# UDGORN SEION,

NEU

## SEREN Y SAINT;

YN CYNNWYS

EGWYDDORION "GORUCHWYLIAETH CYFLAWNDER YR AMSEROEDD,"

MEWN

TRAETHODAU, LLYTHYRON, HANESION, PRYDYDDIAETH, &c.

"Nyni a iachasom Babilon, ond nid aeth hi yn iach; gadewch hi, ac awn bawb i'w wlad: canys ei barn a gyrhaedd i'r nefoedd, ac a ddyrchafwyd hyd yr wybrau."—JER. LI, 9.

"Dring rhagot, yr efengyles Seion, i fynydd uchel."—ESA. XL, 9.

CYFROL I.

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD, CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN J. DAVIS, NANTYGWENITH, GEORGETOWN.

1849.

# RHAGYMADRODD.

ANWYL DDARLLENWYR,—Daeth yr adeg i ni chwythu yn ein HUDGORN, fod y flwyddyn y dechreuasom udganu yn awr ar derfynu, a bod deuddeg UDGORN yn aros i gael eu gwneyd yn un. Diolchwn i bawb am eu caredigrwydd yn gwrandaw ar ein llais. Gallwn dystio ein bod wedi gwneyd ein goreu i udganu, a bod rhai wedi myned allan o Babilon eisoes; erbyn y cawn UDGORN sy'n fwy y flwyddyn nesaf, hyderwn y ffoant wrth y cannoedd. Mae y prydyddion ac ereill yn haeddu eu canmawl am eu hamynedd digyffelyb yn aros eu tro. Darfu i ni udganu yr oll a allem, os na ddarfu i ni udganu gormod. Myn rhai ddweyd ein bod wedi rhegu unwaith; ond fe ŵyr ein darllenwyr mai un o'r sectariaid wrth drin yr "olew" fu yn gwneyd hyny, ac nid nyni. Y Cholera hefyd fu yn lladd pobl eleni, cofier, ac nid y Saint â'u holew; ac yn Mabilon y dygwyddodd hyn. Bellach, y mae pawb yn ein hadwaen ni, er nad ydym ein hunain wedi adwaen nemawr fwy nag o'r blaen; er hyny, ychydig sydd yn gwybod am ein traul a'n trafferth, pan y maent yn gwrandaw arnom yn udganu, yr hyn a wnawn yn blithdraphlith â gwaith arall. Yn awr, gwnawn ganu yn iach i 1849, y flwyddyn hynotaf i ni erioed, gan obeithio y cawn ni a'n darllenwyr nerth ac iechyd i dreulio yr un ddyfodol yn hapus. Taled Duw i'r dosparthwyr oll; Efe sydd yn gwybod am eu ffyddlondeb a'u trafferth; a dywedwn ninnau Amen.

Yr eiddoch yn ostyngedig a diolchgar,

JOHN DAVIS.

*Merthyr, Rhag.* 20, 1849.

# CYNNWYSIAD.

RHIF. I.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. I.] IONAWR, 1849. [PRIS 2g.

CYNNWYSIAD.



CAERFYRDDIN:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, HEOL-PRIOR;
AR WERTH HEFYD
Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr,
trwy y Deau a'r Gogledd.

1849.

## AT EIN GOHEBWYR.

☞ Dymunwn hysbysu ein gohebydd D. Williams, mai trwy weithredu yn "llestr pridd" gweision Duw y mae'r Ysbryd Glân yn "argyhoeddi y byd o bechod." Y maent hwy yn llefaru dan arweiniad yr Ysbryd, yr hwn sydd yn cyfranu doethineb iddynt er argyhoeddi y byd. Pe buasai yr Ysbryd yn argyhoeddi ar ei ben ei hun, afreidiol hollol fuasai pregethwyr, a mwy afreidiol na hyny fuasai gweddio dros iddynt lwyddo. Nis gall y byd dderbyn Ysbryd Duw; ond fe all, os myn, dderbyn pregeth dan ei arweiniad; a'r hyn a dderbynio felly yw yr unig foddion sydd er ei argyhoeddi.

☞ Braidd y gallwn gredu y stori o Lanelli, sef fod eglwys y Bedyddwyr yn Felinfoel wedi gorfodi y Parch. D. Jones i weinyddu yr ordinhad o osodiad dwylaw ar ol bedyddio; o herwydd i ni ddeall i Mr. Jones, yn ddiweddar, ysgrifenu yn selog yn erbyn hyny. Anhawdd genym gredu yr ymostyngai gweinidog oedranus fel efe, i ewyllys y rhai y mae yn ddysgu, o flaen ewyllys yr Hwn a'i danfonodd (?) atynt. Y praidd yn dysgu y bugail fuasai hyny. Hwyrach, bob yn ronyn, y dysgent *ef* i addaw y doniau ysbrydol!

☞ Gofyna rhyw Iorwerth, tu fewn i'r berth, paham na wna Capt. Jones adolygu y sylwadau ar y "Doniau Ysbrydol," sydd yn Seren Gomer, gan Sylwedydd o'r Gogledd. Geill hefyd ofyn i Mr. Gomer, os agora efe ei gyhoeddiad anmhleidiol i hyny, fel y gallo'r un darllenwyr weled y ddwy ochr. Os gwna, y mae digon a'u hadolygant, heblaw Capt. Jones, canys y mae ganddo ef waith arall ar hyn o bryd. Os palla Mr. Gomer, fel y credwn y gwna, bydd i ni wneyd ein goreu i ysgrifenu ychydig ar y pwnc yn yr UDGORN, canys y mae'r Sylwedydd yn lanc a adwaenom yn dda.

☞ Nid oes achos i ni gyhoeddi ysgrif J. T. ynghylch y dyn a ddywedir iddo orwedd fel un marw yn Nghasnewydd, ychydig amser yn ol, ac i ddau brophwyd Mormonaidd gael eu profi yn dwyllwyr wrth ffugio ei adgyfodi; o herwydd y mae pawb yn hysbys fod y stori hona wedi dilyn y Saint i bob cwr o'r wlad, er pan y daethant gyntaf i Gymru, a chyn hyny yn Lloegr, ond fod enw y lle yn cael ei newid. Os gall rhywrai enwi i ni y tri twyllwr hyn, a'r tŷ lle y buont, cant y pleser o'n clywed yn eu traddodi i Satan.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 1.] IONAWR, 1849. [CYF. I.

## Y RHAG-UDGANIAD.

ANWYL DDARLLENWYR,—Fel udganwyr, newydd ein galw i swydd, ar ddechreu blwyddyn, ac heb dreio ein chwyth erioed o'r blaen mewn UDGORN, a hwnw yn newydd, fe ganiatewch i ni yn awr i dreio ein llaw, fel y galloch farnu pa fath sain a allwn roddi. Efallai yr ystyria y doethion ein bod yn ynfydu wrth wneuthur hyny; ond sicr ydym, os gallwn wneyd rhyw leisiau, y medrwn ddweyd gyda Phaul, na fydd "un o honynt yn aflafar." Er fod yr *Amserau* yn enbyd yn ein herbyn, a'r *Ser* tufewn awyrgylch Gomer yn darogan pethau rhyfedd am danom—prif *Ddiwygwyr* yr oes am ganu ein marwnad, a'r *Bedyddwyr* mewn petrusder ynghylch ein claddu mewn dwfr—Parchedigion daear yn dweyd ein bod yn drewi yn eu ffroenau, a'r doctoriaid yn barod i'n hagor i chwilio am olew—plantos yr heolydd bron treulio eu tafodau wrth waeddi "Hen Seintiau" ar ein hol, a chythreuliaid, dyhirod, a duwiolion yn cytuno i'n herlid a'n camgyhuddo—er y cyfan, yr ydym yn penderfynu mynu gwybod pa rym sydd yn ein llais, a pha effaith a gawn ar y byd. Ni ddysgwyliwn i'n HUDGORN allu adgyfodi y meirw, canys nid yr un "diweddaf" ydyw; ond efallai y geill fod yn foddion i ddihuno llawer sydd yn feirw mewn camweddau a phechodau, a'u dwyn i fywyd newydd. Os gallwn wneyd hyna, a'u cadw yn effro ar ol hyny, bydd ein bwriad wedi ei gyflawni, a'n gwasanaeth yn werthfawr yn ngolwg Duw. Na ddysgwylier hefyd, mewn swydd fel hon, i ni aros i ymresymu â phob un a'n cyferfydd ar y ffordd;

eithr os dygir egwyddorion o'n blaen, gwnawn udganu ein meddwl am danynt—os chwedlau fyddant, awn heibio yn ddisylw, gan adael ein cydgreaduriaid i ymborthi arnynt, hyd nes y deuant i wybod gwerth rhywbeth gwell.

Er nad yw ein HUDGORN ond bychan, etto y mae yn waith tra chyfrifol i ymwneyd ag ef; canys os rhoddwn "sain anhynod, pwy a ymbarotöa i ryfel" yn erbyn y gelyn, pan y gwna ymosodiad disymmwth; ac os na udganwn yn eglur, a defnyddio y gwahanol leisiau yn eu pryd, byddwn yn agored i gamarwain. Am hyny, dymunwn gynnorthwy gweddiau y Saint, o herwydd gwyddom na ddichon dim fod yn fwy o help na hyny. Ond, er ein cysur ni, a'n gwrandawwyr, addawa brawd anwyl ag sydd ar fin morio tua Seion, pan y caiff afael ar y newyddion gwell sydd yno, i'n cynnysgaethu â phethau arddercbog i udganu yn yr UDGORN, y rhai ond odid a seiniant trwyddo yn fwy soniarus o lawer na dim o'n heiddo ein hunain. Fel hyn byddwn megys bodau adeiniog, yn medru cipio efallai yn fisol o Seion, bethau i'w hudganu yn fisol hefyd yn Nghymru. Bellach, yr ydym yn hyderus y boddlonwn y gonest, ac y rhybyddiwn bawb yn deg; am hyny dystäwn y tro cyntaf hwn, gan obeithio cael dyfod i'ch clyw etto.

---

## CYFARCHIAD YMADAWOL I'R SAINT.

FRODYR A CHWIORYDD ANWYLAIDD,—Wele y cyfnod pwysicaf a mwyaf galarus a gorfoleddus a ddygwyddodd arnom er dechreuad ein cydnabyddiaeth, wrth y drws, sef fy ymadawiad o'ch plith i wlad bell; a chymhella yr ystyriaeth hyn fi i'ch cyfarch un waith etto, a'r waith olaf hon, ac i ddwyn eich sylw at y pethau canlynol; canys diau y gwyddoch chwi drwy Ysbryd y gwirionedd, a thrwy lawer o esiamplau a ffeithiau, mai gwir awydd fy nghalon oedd eich llesoli a'ch dedwyddoli chwi, yn dymmorol ac yn ysbrydol, yn yr oll a wnaethym. Gŵyr y Nefoedd, a gŵyr fy nghydwybod innau hyny, a dyna ddigon o dystion, nad pwy a'i gwrthwyneba. I'r dyben hyn ni pheidiais ac ni ddiffygiais yn llafurio, na nos na dydd, er ys pedair blynedd; ac hyd yn hyn pleser fy nghalon yw eich gwasanaethu, a'm gorfoledd i yn yr Arglwydd yw ddarfod iddo gyflwyno i mi gyfran o oruchwyliaeth

adferiadol cyflawnder yr amseroedd tuag atoch chwi, a'm dysgu yn yr egwyddorion hyny a'ch dedwyddolant chwi, ac a'ch arweiniant, oud eu gwneyd, i gyflawn feddiant o ddedwyddwch par. Mawr a rhyfedd yr ystyriaf fi y fraint o gael bod yn offeryn dros Dduw i bregethu gair y bywyd—efengyl gallu Duw, ac o gael yr hawl i weinyddu ordinhadau dwyfol, o gymmeradwyaeth y Nefoedd, i'm cydgenedl anwyl; a mawr yw eich braint, ie, annhraethadwy yw eich rhodd chwithau, Saint anwyl, eich bod wedi cael eich dwyn o dywyllwch gau draddodiadol i oleuni efengyl Mab Duw—wedi cael gafael ar grefydd a grym ynddi, a dod yn etifeddion sylwedd, sef cael ernes yr etifeddiaeth oddifry. Wrth hyn glynwch am eich bywyd—y pethau hyn gwnewch yn wastadol; ac felly sicr ydwyf na fydd fy llafur innau yn ofer yn yr Arglwydd. Nid yn unig yr wyf *wedi* eich gwasanaethu trwy lafur a lludded, trwy rwystrau a gorthrymderau, er gwaethaf holl erlid croesfyd crâs, a phob gwg a gwawd, yn ystod yr amser a aeth heibio, eithr y mae fy awydd a'm dymuniad yn cynnyddu fwyfwy i'ch llesoli yn yr amser dyfodol; ac, nad pa mor groes i'm teimladau yw eich gadael megys ŵyn diniwed yn mhlith bleiddiaid danneddog—nad pa mor gostus yw hyny i mi, sicr wyf yn mlaen llaw, a sicr fyddwch chwithau i'ch boddlonrwydd hollol, mai buddiol i chwi yw fy myned i ymaith am ennyd, canys yr wyf yn myned i barotôi lle i chwi, fel lle yr wyf fi y galloch chwithau hefyd, yr holl gywir galon ag sydd yn caru ymddangosiad ein Harglwydd Iesu Grist, fod gyda mi am fil o flwyddi dedwydd yn yr "orphwysfa ag sydd etto yn ol i bobl Dduw." Onid âf, ni fyrheir dyddiau eich gorthrymder; os mi a âf, ni foddlonir fy enaid nes gweled fy holl frodyr a chwiorydd alltudiedig a gwasgaredig drwy y rhan hon o Babilon, yn llawenhau yn iachawdwriaeth Duw yn Seion.

Clywsoch a darllenasoch lawer am waredigaeth Duw i'w blant yn Seion, a diau fod eich calonau yn hiraethu mwyfwy am ei mwynhau, yn gyferbyniol i fel ag y mae arwyddion yr amserau, helyntion gwladwriaethol, rhyfeloedd, terfysgoedd cenedloedd, dymchweliad teyrnasoedd, gwrthryfel ac erlid, a châs y Babiloniaid, yn diddyfnu eich serchiadau oddiwrth ei theganau darfodedig; a diau yr hiraetha llawer yn fwy o herwydd gormes ac anghyfiawnder, newyn a thlodi, yn y blynyddoedd dyfodol, am waredigaeth Seion. Eithr pan y caniatâ Duw i ddorau y fall i ymegoryd, i byrth uffern arllwys i maes eu byddinoedd cadarnaf i dywallt eu "phiolau" dinystriol, megys plâau, heintiau, a ffrewyllau, i

waghau y teyrnasoedd o'r anwir rai hyny ag a wrthodant efengyl ei Fab, a gasânt ac a erlidiant ei blant; yna y gwelir doethineb a chariad tragywyddol eich Tad tuag at ei blant ffyddlawn—pryd hyny y deallir ac yr addefir gan bawb yr anghenrheidrwydd am Seion yn wared-fan i'r Saint; y pryd hyny y gwelwa ei chaseion hi, ac y dechreuant yfed gwaddod y cwpan erchyll a lanwasant iddynt eu hunain; dyna yr amser y gwelir gwahaniaeth rhwng y rhai a wasanaethant Dduw, ac a ufyddhant i arweiniad eu bugeiliaid, a'u caseion—rhwng y rhai a ymdrechant adeiladu Seion, ac adeiladwyr Babilon; ïe, y pryd hyny, plant Seion gan ganu a ganant yn uchelfeydd dinasoedd y Duw byw, mewn preswylfeydd heddychol. Henffych i'r dydd! Am hyny, pan y mae y pethau hyn yn eich gormesu, na lwfrhewch, ac na laesed eich dwylaw, canys arddangosant fod amser eich ymwared chwi yn agosâu, ïe, wrth y drws.

Diau y gollynga y fall genfaint o'i choegwyr eiddigus i'ch erlid, eich camgyhuddo, a'ch gwawdio, wedi fy ymadawiad ymaith; eithr cofiwch mai anghenrhaid yw cael profiad o'ch ffydd chwi, a rheidiol yw i'r trueiniaid hyn ag a ragbarotowyd er's talm i gael cyfle i gyflawni mesur eu hanwiredd, i lanw eu cwpan erchyll, cyn y byddant yn llestri cymhwys i ddigofaint arddangos cyfiawn farn Duw ar gaseion y gwirionedd: yr ystyriaethau hyn a'ch galluogant i ddyoddef pob dim yn amyneddgar, ac i edrych yn mlaen at daledigaeth y gwobrwy. Dichon hefyd mai o'ch plith chwi eich hunain y cyfyd rhai hunanol, eiddigeddus, wedi colli yr Ysbryd, pa rai a geisiant arwain eneidiau anwadal ar eu hol; eithr yn enwedig gwyliwch rhag, a gwrthwynebwch y rhai a wrthwynebant yr awdurdod a osodwyd yn ol ewyllys Duw i'ch tywys a'ch porthi, yn ol fel y gwelwch yn hanes y Gymmanfa ddiweddaf. Nid yw hyd y nod cydwybodolrwydd yn ddigonol sail i wrthwynebu yr offeiriadaeth; canys y mae aml un mor gydwybodol yn addoli delwau, ag y mae ereill yn eu haddoliadau hwythau. Nid cydwybodolrwydd yw eich arweinydd yn unig; er fod eisieu i bob un feddu cydwybod ddirwystr tuag at Dduw a dynion, etto dylid dwyn y gydwybod at y safon, ac nid gwneyd y gydwybod yn safon. Hyd oni ddelwyf yn ol, glynwch wrth ddarllen, chwiliwch yr Ysgrythyrau, trysorwch Lyfr Mormon yn eich cof, argraffer yr "Athrawiaethau a'r Cyfammodau" ar lechau eich calonau; ymagweddwch yn ddifrycheulyd yn ol yr oll a gyhoeddais yn eich plith. Nid wyf heddyw yn teimlo un tueddiad i alw yn ol ddim

un egwyddor ag a gyhoeddais, na dim un ddysgeidiaeth a roddais i chwi; eithr yn hytrach eich annog i'w chwilio yn fanwl, fel am drysorau ceddiedig; ac hyderaf, pan yn mhell oddiwrthych, i glywed fod yr oll, o dan fendith Nêr, yn fuddiol i'ch gwneyd chwi yn ddoeth i iachawdwriaeth. Nid wyf wrth hyn yn honi perffeithrwydd i ddim o'm hysgrifeniadau, na'm pethau santeiddiaf; ond o'r ochr arall, y mae fy ffaeleddau a'm gwendidau, wrth yr hyn a ddymunwn fod, yn ffurfio testun gweddi barhaus am nerth oddifry. Ni fynwn i chwi feddwl fy mod yn awgrymu fod y naill na'r llall, na'r oll, o'r llyfrau cyfeiriedig, yn rheol ddigonol er ymarweddiad y Saint, nac er gwaith y weinidogaeth; eithr yn hytrach y mae y "llythyren yn lladd, ond yr Ysbryd sy'n bywhau:" yr Ysbryd yw yr OFFEIRIADAETH, yr hon sydd yn meddu yr hawl a'r ddoethineb i derfynu pob dadl, trwy yr hon y mae Duw yn gweithio. Gwyliwch rhag y rhai a wrthodant frawdlysoedd yr offeiriadaeth, dan honi fod y llyfr hwn, neu yr ysgrifeniadau ereill, o'u plaid hwy fel arall; nid o Dduw y mae'r ysbryd yna, onide afreidiol yw'r offeiriadaeth. Anmhosibl, yr ystyriaf, i gyhoeddi unrhyw reolau digonol a chyfiawn at bob peth a ddygwydda yn yr eglwys, o herwydd amrywiaeth yr amgylchiadau; eithr nid anmhosibl yw i Dduw gynnysgaethu yr offeiriadaeth â doethineb gogyfer â phob amgylchiad, er rhoddi barn gyfiawn: am hyny ufyddhewch i'ch bugeiliaid, megys i'r Arglwydd—gweddiwch drostynt yn barhaus—gwnewch a alloch i ddiwallu eu hanghenrheidiau corfforol, fel y gallont ymroi fwy i'ch gwasanaethu mewn pethau ysbrydol. Na thwylled y gelyn chwi i gredu y gadawai y Duw doeth a sefydlodd ei deyrnas y waith olaf hon ar y ddaear, i'r holl offeiriadaeth sydd yn ei deyrnas, nac ychwaith yn Nghymru, i fyned ar gyfeiliorn oll, fel na bo a'ch arweinia chwi yn ffyrdd yr Arglwydd; ac na choeliwch y rhai a ddywedant y dymchwelir offeiriadaeth neu deyrnas Dduw, etto oddiar y ddaear canys ni wneir hyny yn dragywydd; eithr "y freniniaeth, a mawredd y freniniaeth o dan yr holl nefoedd, a roddir i bobl saint y Goruchaf" yn ei iawn bryd. Llama y bryniau fel ŵyn defaid, a neidia gwyllt fryniau Gwalia fel hyrddod, ac wedi hyny ni syflir yr offeiriadaeth o'i lle. Gwir fod yr offeiriadaeth wedi cael ei chipio o'r ddaear i'r nef am yspaid, droion cyn hyn; etto nid oedd y rhai a'i meddent yma, ac a'i hiawn-ddefnyddiasant yn eu hoes, yn colli eu hawl iddi yn y manau lle y maent, ac ni wnant hyny yn dragywyddol; eiddynt

hwy eu hadferyd hi yn ol, a'i hamddiffyn nes y cyflawna fwriadau Duw yn y cyfryw oes neu wlad. Y rhai diweddaraf a feddai yr offeiriadaeth ar y ddaear ar ol yr apostolion, a adferasant yr offeiriadaeth i Joseph Smith, ac ni buasai yn drefnus i neb arall i wneyd hyny; a chan iddo yntau gyflwyno yr offeiriadaeth i ereill cyn ei fyned ymaith, pa rai sydd yn ffyddlawn yn eu lle, yna y mae ei offeiriadaeth ef, drwyddynt hwy, yn parhau, ac a barha yn mhob man, a than bob amgylchiad, lle ag y deilliodd o'r ffynnonell drwy ei ffrydiau cysefin. Ei ffynnonell wreiddiol yw "urdd Mab Duw," er cyn seiliad y byd; ei tharddiad sydd wedi bod drwy ei holl weision ef, yn yr holl oruchwyliaethau er boreuddydd amser, ac a gyfranwyd yn yr amseroedd diweddaf hyn i'n hanwyl frawd crybwylledig, ganddo ef i Brigham Young a'r apostolion ffyddlawn ereill ag sydd yn aros hyd heddyw yn eu galwedigaeth, a thrwyddynt ac oddiwrthynt hwythau (diolch i'w Hawdwr dwyfol) ymwelodd â'n hoff genedl, a thywynodd gwawrddydd y Jubili fawr ar ororau ein gwlad;—adlewyrcha ei goleuni drwy bob sir, y mae ei baneri efengylaidd yn chwifio braidd yn mhob hinsawdd a bro; ac y mae braidd bedair mil o blant Gomer yn gorfoleddu o'i herwydd eisoes! a bwriada ddwyn yn ei chôl oddeutu tri chant o'u brodyr a'u chwiorydd unwaed, yn "offrwm i'r Arglwydd," yn flaenffrwyth y cynauaf toreithiog o'r rhai etto a ddaw i fynydd tŷ Dduw Jacob, yn waredwyr ar fynydd Seion, ac i harddu lle ei gyssegr,—pa rai a fyddant ar y cefnfor yn hwylio tuag yno, ond odid, pan y darllenwch chwi y llinellau cyfarchiadol hyn. A sicr y'm na ddiwreiddir yr offeiriadaeth oddiar y ddaear, nes y llanwa y byd o oleuni gwybodaeth o Dduw, megys ag y töa y dyfroedd y môr—nad erlidir hi o Gymru hyd nes y bo wedi dwyn yr holl rai gonest eu calon i ddiogelwch, a'u cyrchu o wlad y cystudd mawr i fwynhau iachawdwriaeth ein Duw yn Seion: am hyny, er eich lles chwi a gogoniant y Duw hwnw a'i danfonodd i'ch plith, erfyniaf arnoch fel pe bai Duw yn erfyn arnoch drwof fi—fel pe bai yr olaf ddymuniad o'm heiddo atoch—anrhydeddwch, ufyddhewch i, a gweddiwch dros yr offeiriadaeth yn mhob peth a ddywedant wrthych. Os felly, sicrhaf mai eiddo chwi fydd y trigfanau tragywyddol, y coronau annifianedig, a'r oesoedd diderfyn i'w gwisgo mewn gogoniant. Heb i chwi wneuthur hyn, nid oes genyf addewid i chwi er daioni. Gan hyderu y gwnewch hyn, ymddiriedaf chwi i'w gofal, o dan nodded Ysbryd yr Hwn a'ch dygodd chwi o dywyllwch i oleuni drwyddynt hwy. Gofaled

pob un am lanw ei gylch ei hun, ac nid yr eiddo arall, onide y mae efe yn myned i ddystryw. Pob un fel eu gosodwyd a roddant gyfrif am y cylch eu gosodwyd ynddo, ac a wobrwyir yn ol yr hyn a erys o ffrwyth ei lafur pan gesglir y cynauaf i'r ysgubor. Weithian, frodyr a chwiorydd anwyl, nid ymhelaethaf ond hyn, sef y gorchymyn mwyaf o'r oll, y diweddaf a'r taeraf ag y galwaf eich sylw ato, yr hyn nid yw newydd ychwaith, ond ar garu o honoch bawb eich gilydd, fel yr aroso cariad Crist ynoch. Gochelwch bob achlysur i anghydfod; tynwch ymaith bob gwreiddiau chwerwedd o'ch mynwesau eich hunain, ac ond odid y diwreiddiwch y cyfryw yn hollol o'ch plith, fel na chlywer sôn am anghariad yn eich plith, canys y mae y byd a'r diafol yn eich casâu chwi; ac am hyny. bydded i'r byd a'r diafol wybod mai dyscyblion i'r Iesu addfwyn ydych, trwy eich bod yn caru eich gilydd. Cofiwch mai eich braint fydd cael cyd-deyrnasu gyda eich gilydd am fil o flwyddi yn Seion; dysgwch gydgaru eich gilydd yma erbyn hyny, ynte. Byddwch dirion, caredig, boneddigaidd, a gostyngedig i'ch gilydd, megys y gweddai i blant yr un Tad dwyfol, megys ag y cymhella yr un Ysbryd tragywyddol. O, mor hyfryd yw trigo o frodyr a chwiorydd ynghyd! O, mor hyfryd yw caru, a chael ein caru, gan ein gilydd! Fy ngorfoledd a llawenydd fy nghalon i yw, na wn am un o'r Saint, gwrryw na benyw, yn Nghymru, na'r byd, ag sydd ganddynt un digofaint ataf; ond, o'r ochr arall, cydnabyddaf yn ddiolchgar fy mod wedi cael, ac yn parhau i gael lliaws o ffeithiau, drwy eich ymddygiadau brawdol a charuaidd, i brofi yn ddiammheuol fy mod yn cael cymmaint, os nad mwy, o le yn eich serchiadau ag a deilyngais. Nerthed y Duw mawr fi i sicrhau parhad o hyn i mi, a digon yw. Mwy dymunol yw y teimladau hyn i lanw'm mynwes wrth adael gororau'm gwlad, lle y triga'm caredigion, nag a fyddai yr awelon hyfrytaf a fedd y nefoedd i lanw hwyliau'm llestr hebddo. Na fydded un o'r Saint am awr hebddo, yw'm taer weddi drosoch.

Frodyr, cofiwch pa enw a broffeswch, mai "Cyfiawn" yw enw eich Arglwydd; am hyny gwnewch gyfiawnder â phawb. Ystyriwch, cyn y gallwch sefyll yn y farn yn ngwyneb gwrthodwyr eich cenadwri, y dylech fod wedi rhoddi iddynt, nid yn unig *dystiolaeth* bwysig a sobr, eithr hefyd ESIAMPLAU da, YMAGWEDDAU cymmeradwy a theilwng o'r fath drysor ag sydd genych, rhag troi y cloff o'r ffordd. Pregethed eich RHODIAD i bawb mai

dyeithriaid a phererinion ydych yma, ac ymbarotowch yn mhob peth erbyn y trefna eich Duw i chwi waredigaeth, yr hyn a wna yn ddiau yn ol eich ffyddlondeb.

Bellach, am y tro hwn, terfynaf, gyda phob diolchgarwch calon i chwi am eich caredigrwydd digyffelyb a'ch ffyddlondeb, gan hyderu y caf gyfle etto o Seion i'ch cyfarch, a galw eich sylw at lawer o bethau a ddymunwn, eithr ni chaniatâ amgylchiadau yn awr.

Frodyr anwyl yn yr Offeiriadaeth—ffarwel i chwi. Cofiwch fy nghynghorion i chwi yn y Gymmanfa, a phob amser. Mewn cariad, amynedd, a thiriondeb, porthwch y praidd anwyl a ymddiriedais i'ch gofal, megys yr eiddof fy hun; cynghorwch, pregethwch, hyfforddwch, a gwnewch bob peth a alloch, fel y rhoddoch eich cyfrif i fyny yn llawen dros eich praidd.

Chwi, Dadau—ffarwel i chwi. Carwch eich gwragedd, a chedwch allor i Dduw yn eich teuluoedd; safwch yn eich lle eich hun, a gofalwch dros y teuluoedd a roddes Duw i chwi. Parotowch hwynt yma i deilyngu dedwyddwch a digonedd gyda chwi yn Seion, o dan arweiniad yr urdd batriarchaidd.

Chwi, Famau serchus—ffarwel i chwi. Ufyddhewch i'ch gwyr, megys i'r Arglwydd; byddwch amyneddgar, byddwch dirion a duwiol, ac hyfforddwch eich plant yn ffordd y gwirionedd. Y Duw mawr a'ch cadwo rhag y temtasiynau sydd yn y byd, ac a'ch dygo chwi a'ch eiddo oll i Seion.

Chwi, Ieuenctid gobeithiol—ffarwel i chwi. Gwnewch y ddysgeidiaeth a gawsoch ac a gewch gan weision Duw, a mawr fydd eich defnyddioldeb a'ch gogoniant yn nheyrnas Dduw. Amser cynauaf yw hwn; gochelwch wasanaethu y cnawd a'i wyniau, na gwagedd ieuenctid, yn lle gwasanaethu Arglwydd y cynauaf hwn. Mawr yw eich braint yn moreu eich oes i gael dod i winllan yr Iesu; aroswch ynddi hyd byth, er gwaethaf pob rhwystrau a'ch cyfarfyddant.

Chwithau, Blant bychain—ffarwel i chwi. Dysgwyliaf i chwi ufyddhau i'ch rhieni, a gweddio llawer am i Ysbryd y gwirionedd eich tywys i ddefnyddioldeb.

Y ffarwel olaf, Saint anwyl, atoch oll, yw'm dymuniad am i chwi weddio droswyf, a thros y rhai a elo gyda mi i Seion, a thros eich gilydd oll. Gwell cyfoeth yw gweddiau ffyddiog y Saint yn fy ngolwg na mwngloddiau y byd, canys y mae Duw yn eich gwrando chwi; am hyny gweddiwch.

Gras ein Harglwydd Iesu Grist, a chariad Duw, a chymdeithas ddaionus ei lân Ysbryd, a fyddo ac a aroso gyda chwi oll hyd byth. Amen.

Eich gwas yn efengyl Crist, a theyrnas yr amynedd,

D. JONES.

---

## CYMMANFA MORGANWG.

CYNNALIWYD y Gymmanfa uchod ar y dydd olaf o'r hen flwyddyn, a'r cyntaf o'r flwyddyn newydd, fel yr hysbyswyd yn flaenorol. Gan fod y Saint wedi cynnyddu mor fawr, ystyriwyd yn angenrheidiol i gymmeryd neuadd helaeth mewn man arall o Merthyr, heblaw Neuadd y Cymreigyddion, fel y gallai y rhai a fethent fyned i'r lle olaf, o ddiffyg lle, gael myned i'r neuadd arall, yr hon sydd yn Georgetown, lle y buwyd yn pregethu ar amser gwahanol gyfarfodydd Neuadd y Cymreigyddion. Ni fydd i ni ond rhoddi hanes am yr hyn a aeth yn mlaen yn y prif gyfarfodydd, y rhai a gynnaliwyd yn y lle a enwyd olaf.

### Y DYDD CYNTAF.

Ar foreu dydd Sul, am 11 o'r gloch, agorwyd cyfarfod cyntaf y Gymmanfa, trwy ganu a gweddio, gan y brawd W. Howells o Aberdâr. Yna cynnygiwyd gan W. Phillips, ac eiliwyd gan W. Howells, fod Capt. D. Jones i lywyddu y Gymmanfa, yr hyn a gymmeradwywyd yn unfrydol. Ar hyny cyfododd y Llywydd i ddangos dyben eu hymgynnulliad, gan hysbysu fod yn ddrwg ganddo nad oedd y brodyr Orson Pratt ac Orson Spencer wedi dyfod, fel ag yr oeddynt wedi addaw wrtho ef; a dywedai mai rhaid mai rhyw rwystrau oedd wedi eu cyfarfod, onide y buasent yn sicr o fod yn bresennol. Annogai bawb i ymgysuro, gan ddweyd nad oedd neb wedi ei siomi yn fwy nag ef; ac os nad oedd y brodyr dysgwyliedig wedi dyfod yno, fod un arall yn bresennol ag oedd lawer mwy nâ'r ddau hyny, sef Duw trwy ei Ysbryd. Yna, wedi pennodi tri o ysgrifenwyr, galwodd y Llywydd am brawf o ffyddlondeb y gwahanol lywyddion, gan ddechreu ar lywyddion y cynnadleddau. Gofynodd os oedd gan rywun rywbeth i ddweyd yn eu herbyn—fod cyfle i wneuthur hyny ar y pryd hwnw; ond gan na ddygodd neb gyhuddiad yn eu herbyn, ystyriwyd hwynt yn deilwng i gael parhau yn eu swyddi. Yna y Llywydd a aeth yn y blaen i wneyd y cyfnewidiadau angenrheidiol yn y cangenau, megys dewis llywyddion a rheoleiddio

cangenau newyddion, y rhai a wahaniaethir yn y daflen â'r nôd hwn (*). Galwyd y llywyddion oll i gynnrychioli eu cangenau, yr hyn a wnaed fel y canlyn:—

| | Cangenau. | Llywyddion. | Hen. | Off. | Ath. | Dia. | Bed. | Cyfan. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 | Merthyr - - | Thomas Rees - - | 20 | 18 | 25 | 8 | 106 | 823 |
| 2 | Penydaren - | *David John - - | 1 | 4 | 7 | 3 | 14 | 83 |
| 3 | Dowlais - - | Alfred Clark - - | 8 | 8 | 8 | 3 | 42 | 209 |
| 4 | Rymni - - - | William Davies - | 4 | 4 | 4 | 1 | 11 | 63 |
| 5 | Cwmbach - | John Price - - - | 4 | 4 | 4 | 2 | 6 | 68 |
| 6 | Aberdâr - - | Joseph Davies - | 4 | 5 | 7 | 2 | 89 | 150 |
| 7 | Hirwaen - - | Daniel Evans - - | 2 | 2 | 1 | 1 | 24 | 59 |
| 8 | Llanfabon - | R. Humphreys - | 1 | 1 | 3 | 1 | 14 | 32 |
| 9 | Caerdyf - - | *James Ellis - - | 3 | 7 | 4 | 1 | 48 | 123 |
| 10 | Twynyrodyn | William Thomas | 1 | 1 | 1 | 0 | 18 | 38 |
| 11 | Llwyni - - - | Samuel Davies - | 2 | 3 | 2 | 2 | 2 | 26 |
| 12 | Cwmbychan | Thomas Pugh - - | 2 | 3 | 0 | 0 | 2 | 13 |
| 13 | Bryn - - - | Etto - - - - - | 1 | 1 | 1 | 0 | 0 | 15 |
| 14 | Peel - - - - | John Bowen - - | 2 | 2 | 1 | 1 | 4 | 14 |
| 15 | Treboth - | Joseph Mathews - | 2 | 4 | 2 | 0 | 10 | 48 |
| 16 | Cyfyng - - - | David Williams | 2 | 3 | 2 | 1 | 12 | 34 |
| 17 | Cwmamman | John Griffiths - - | 3 | 4 | 0 | 0 | 18 | 31 |
| 18 | Pontyates - | *Eph. Rowland - | 3 | 7 | 4 | 2 | 40 | 123 |
| 19 | Llanelli - - | William Hughes | 8 | 11 | 10 | 4 | 36 | 180 |
| 20 | Caerfyrddin | Benjamin Jones | 6 | 7 | 3 | 2 | 11 | 62 |
| 21 | Llanybydder | *John Evans - - | 2 | 5 | 1 | 1 | 9 | 55 |
| 22 | Swyddffynon | Benjamin Evans | 3 | 0 | 0 | 0 | 0 | 10 |
| 23 | Pontypridd - | John Phillips - - | 3 | 3 | 2 | 1 | 29 | 52 |
| 24 | *Pontfaen - | Evan Jenkins - - | 0 | 1 | 0 | 0 | 4 | 10 |
| 25 | *Trecastell - | Jon. Thomas - - | 1 | 0 | 0 | 0 | 10 | 11 |
| 26 | Brechfa - - | David Jeremy - - | 2 | 4 | 3 | 2 | 12 | 69 |
| 27 | *Castellnedd | John Williams - | 1 | 0 | 0 | 0 | 0 | 8 |
| 28 | *Wig - - - - | T. Llewellyn - - | 1 | 3 | 1 | 1 | 16 | 27 |
| | Cyfanrif y Gynnadledd - | | 92 | 115 | 96 | 40 | 587 | 2436 |

Yna galwodd y Llywydd am gynnrychioliad y Cynnadleddau ereill, y rhai oeddynt fel y canlyn:—

| Cynnadleddau. | Llywyddion. | Hen. | Off. | Ath. | Dia. | Bed. | Cyfan. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Sir Fynwy - - - | Wm. Phillips - | 31 | 31 | 25 | 15 | 240 | 644 |
| Henffordd - - - | W. Henshaw - - | 10 | 13 | 10 | 5 | 84 | 253 |
| Sir Benfro - - - | John Morris - - | 4 | 7 | 2 | 2 | 10 | 62 |
| Y Gogledd - - - | Abel Evans - - | 19 | 24 | 14 | 5 | 75 | 208 |
| Morganwg - - - | D. Jones - - - | 92 | 115 | 96 | 40 | 587 | 2436 |
| Cyfanswm o'r cyfan - - - | | 156 | 190 | 147 | 67 | 996 | 3603 |

Ceir allan fod y cyunydd oddiar Ionawr 1, 1848, hyd Ionawr 1, 1849, yn 1670, heblaw y Saint sydd yn Sir Faesyfed, y rhai ydynt heb eu cynnrychioli.

Yna, wedi i'r Llywydd roddi amryw o gynghorion gwerthfawr, terfynwyd trwy weddi gan Abel Evans.

Am ddau, agorwyd y cyfarfod gan y brawd T. Jeremy o Lanybydder, trwy ganu a gweddio. Ar ol canu hymn eilwaith, cyfododd y Llywydd i anerch y Saint, a dangosodd iddynt, yn ei ddull medrus arferol, amryw o bethau tra dyddorawl. Dangosodd iddynt wrthuni y dyb sydd yn ein gwlad, o fod Duw yn gofalu am y bodau wybrenol, ac yn esgeuluso cyrff dynion ar y ddaear; ac hefyd, gosododd allan yr afresymoldeb o fod ein Tad nefol yn darparu gwaredigaethau tymmorol i Noah, Lot, ac ereill mewn cyssylltiad â hwynt, ac yn peidio darparu dim gogyfer â'i blant yn yr oes hon, pan y mae profion ysgrythyrol ar gael o fod eisieu mwy o waredigaethau tymmorol yn yr oes hon nag erioed, gan y bydd y pläau a'r dinystriau gymmaint yn fwy yn y dyddiau diweddaf nâ'r dyddiau gynt. Dangosodd yn eglur mai trwy wrandaw ar Dduw y mae i'r Saint ddysgwyl gwaredigaethau tymmorol, yn gystal ag ysbrydol; ac mai trwy fyned i'r lle y mae yn ddadguddio, y mae i'r Saint sicrhau y wlad addawedig. Ymddangosai pawb wrth eu bodd tra y darluniai y Llywydd yr ardderchogrwydd perthynol i Seion, ond y cythreuliaid yn unig, y rhai ar y pryd, er tynu sylw y Saint oddiwrth y fath ddysgeidiaeth werthfawr, a feddiannasant ddwy neu dair o'r Saint, nes trwy hyny gynhyrfu yr holl gyfarfod, a rhwystro y Llywydd i fyned yn y blaen. Yr oedd dau o'r personau hyn wedi eu meddiannu gan ysbrydion drwg droion o'r blaen, o herwydd cuddio troseddau, ac felly y tro hwn hefyd. Yr oedd yr ysbrydion yn llefaru trwyddynt, a hyny mewn llais goruwch-naturiol, gan gablu ac enllibo y Llywydd a swyddogion ereill, a'u herio i'w bwrw hwy allan o'r llochesau hyny. Dywedent yn hyf nas gellid eu bwrw allan—fod hawl ganddynt yn y ddwy hyny o herwydd eu troseddau; ac nid oeddym ni gymmaint am eu hammau, wedi i ni glywed y cyfan. Wedi gweddio llawer am eu ceryddu, ond i gyd yn ofer, hysbyswyd i'r Llywydd pwy oedd y personau a feddiennid; a phan ddeallodd ef eu bod wedi troseddu ar ol eu rhyddhau gynnifer o weithiau o'r blaen, penderfynodd eu tori allan o'r eglwys, fel yr unig ffordd i dawelu yr ysbrydion. I'r perwyl hyny galwyd yr henuriaid ynghyd, ac mor fuan ag y codwyd dwylaw i esgymuno y naill a'r llall, daeth pob un o'r ddwy i'w pwyll arferol, ac a ddechreuasant dacluso eu gwallt a'u dillad, fel pe na buasai dim wedi dygwydd. Rhoddodd yr ysbrydion amryw o brofion eu bod

yn hysbys o feddyliau rhai o'r swyddogion oedd yn bresennol, ac hefyd o fod enwau gan y cythreuliaid ar y naill y llall, trwy eu bod yn galw ar eu gilydd. Collwyd yr addysgiadau buddiol yn nghylch Seion, o achos yr annhrefn dan sylw; a therfynwyd y cyfarfod trwy ganu a gweddio gan y brawd Carwel.

Am chwech, yn yr hwyr, agorwyd y cyfarfod cyhoeddus, trwy ganu a gweddio, gan y brawd Alfred Clark. Yna wedi canu anthem gan y cantorion, cyfododd y Llywydd i anerch y lliaws ag oedd wedi ymgynnull ynghyd. Arweiniodd eu sylw at yr hyn a gymmerodd le yn y cyfarfod blaenorol, sef y prawf a ddangoswyd fod galluoedd goruwch-naturiol yn meddiannu dynion, y rhai ni allent weithredu a llefaru fel y gwnaethant o honynt eu hunain. Dangosodd fod cynhyrfiadau o'r fath yn profi yn amlwg allu y gelyn, mewn gwrthwynebiad i allu Duw, a'r ddau mewn gweithrediad eglur. Crybwyllai am y llonyddwch y mae enwadau ereill yn gael yn eu cyfarfodydd, ac nad yw y diafol yn gwrthwynebu neb yno, ond eu bod yn gwbl rydd o ymosodiadau y gelyn, yn y dull a grybwyllwyd. Profai fod ymosodiadau y gelyn yn nghyfarfodydd y Saint, yn dangos fod gallu Duw yn bresennol, ac mai dyben y gallu arall oedd ei wrthwynebu; canys y mae yn "myned oddiamgylch gan geisio y neb a allo ei lyncu;" a dyledswydd y Saint yw ei wrthwynebu â'u holl egni.

Yna y brawd Howells, o Aberdâr, a gyfododd i anerch y dosparth Seisnig o'r gynnulleidfa. Mynegodd am yr elyniaeth ag oedd y diafol a'i offerynau yn ddangos yn ei gymmydogaeth ef at y Saint, a'r llawenydd a'r gorfoledd a feddent hwythau yn ngwyneb y cyfan. Dangosodd hefyd y rhesymoldeb a'r ysgrythyroldeb o fod i'r Saint a allent hyny, roddi y ddegfan ran o'u heiddo at adeiladu teml i'w Duw.

Wedi hyny, cyfododd y Llywydd i fanylu ychydig, yn yr un iaith, ar ol y brawd Howells. Dangosodd nad oedd mwy o dwyll mewn adeiladu teml i Dduw, nag sydd mewn adeiladu capeli i Dduw. Profodd mai goruchwyliaeth i ymgasglu i fynydd Seion, ac i adeiladu teml yno i Dduw, yw yr oruchwyliaeth hon; a darluniodd afresymoldeb gelynion y Saint, y rhai ydynt am eu diwreiddio a'u gyru o'r wlad, ac ar yr un pryd am eu rhwystro i ymfudo tua Seion.

Y brawd Thomas Pugh o'r Llwyni, ar ol hyny, a ddangosodd yr egwyddorion cyntaf i'r gwrandawwyr siriol, ac a'u hannogodd i ufyddhau iddynt ar frys.

Ar ddiwedd y cyfarfod, cyfododd y Llywydd drachefn, a gwasgodd yr holl bethau fuwyd yn drin at sylw difrifol y gwrandawwyr, gan eu galw yn daer i ufyddhau i'r gwirionedd, yr hwn a amlygid mor amlwg yn ffyddlondeb y Saint, a'u penderfyniad i ymlynu wrth y gwaith yn ngwyneb pob peth. Yna terfynwyd y cyfarfod trwy weddio gan y brawd W. Phillips.

### YR AIL DDYDD.

Dydd Llun, dechreuwyd y cyfarfod, am hanner awr wedi deg, gan y brawd Abel Evans, trwy weddi a mawl. Wedi hyny cododd y Llywydd i anerch ei frodyr a'i gyfeillion â Blwyddyn Newydd Dda, a llawer o lwyddiant. Yna aeth yn mlaen i ddangos y cyfrifoldeb mawr ag sydd yn perthyn i bob swyddog, a'r anghenrheidrwydd sydd ar bob un i ymfoddloni i bob peth a wneir ar ei gyfer. Dangosodd mai pa uchelaf y swydd a dderbynio dyn, mai mwyaf i gyd fydd y cwymp pe byddai i syrthio ymaith, ac mai mwyaf anhawdd iddynt i ymadnewyddu drachefn. Dywedodd wed'yn na wyddai ef fod neb yn bresennol ag y teimlai efe unrhyw anghariad tuag atynt, ac nad oedd yntau yn credu fod neb o honynt hwythau yn meddu casineb tuag ato ef, pan yn y gymmanfa ddiweddaf a gai yn eu plith am dymmor, a phan ar ymadael â gwlad ei enedigaeth. Yna dangosodd y gwaith mawr ag oedd wedi bod dan ei ofal oddiar pan y daeth i lywyddu y Cymry, a'r modd ag oedd y fath ormodedd o lafur yn effeithio ar ei gyfansoddiad; ac nad oedd yn ewyllysio rhoddi y cyfryw bwys ar gefn neb dyn arall o'i frodyr, tra y mae y gwaith hefyd yn cynnyddu yn barhaus. Cyfeiriodd wed'yn at y doethineb o fod i bawb dan y gwahanol lywyddion i wrandaw arnynt, a chymmeryd eu dysgu ganddynt, yn lle bod yn awyddus i'w gwrthwynebu â rhyw ddadleuon diles; ac hefyd i beidio ystyried llyfrau llywodraethol y Saint yn uwch nâ'r offeiriadaeth a berthyn i'r swyddogion, o herwydd fod yr olaf yn cymdeithasu â'r hyn sydd yn dyfod oddi uchod. Hefyd, dangosodd y gofalwch a ddylai fod gan y llywyddion er pwyso yn gywir, ac i weinyddu cyfiawnder, gan ystyried fod yn rhaid iddynt hwy eu hunain gael eu pwyso hefyd. Mynegodd hefyd am y cyfiawnder ag y mae pawb yn gael, trwy y gallant apelio at swyddogion uwch. Yna, eglurodd pa fodd y dylai pawb ymddwyn yn y lleoedd hyny lle yr ymdrecha rhywrai wrthwynebu y llywyddion,—na ddylai neb gydsynio â'r cyfryw, o herwydd eu bod trwy wneuthur hyny cyn waethed â hwythau. Hefyd, dangosodd ddyledswydd y llywyddion i beidio gwrandaw

ar y cyhuddiad cyntaf a ddaw atynt, cyn cymmeryd amser a phwyll i edrych mewn i'r ochr arall; canys pa beth yw un blaid fwy nâ'r llall i'r llywydd. Dywedodd y dylai'r Saint a'r llywyddion i ddilyn esiampl Iesu Grist, trwy fod yn barod i ddyoddef pob cam, yn hytrach nâ pheri rhwystrau ar ffordd teyrnas Dduw; ac am iddynt beidio gofalu cymmaint am eu cymmeriadau eu hunain. Dangosodd ffordd dra rhagorol i osod attalfa ar ymrafaelion mewn eglwysi, trwy fod i'r llywyddion ddysgu yr athrawon ac ereill, i ystyried pob un yn droseddwr ag a ddwg gyhuddiad am ei frawd at rywun arall, cyn siarad â'r brawd ei hun yn gyntaf. Y fath undeb, tangnefedd, a chariad, a ddygai hyny oddiamgylch. Dywedodd mai ysbryd cyhuddo felly, yw y trap sydd gan ddiafol mewn eglwysi, ac y dylai pawb ymgadw yn mhell oddiwrtho. Yna aeth y Llywydd yn mlaen i alw swyddogion i'r gwahanol gangenau canlynol:—

Merthyr—Dau henuriad, dau offeiriad, a dau athraw. Pendaren—Dau offeiriad. Dowlais—Un offeiriad. Aberdar—Un henuriad, tri offeiriad, ac un athraw. Hirwaen—Dau offeiriad, ac un athraw. Pontypridd—Un henuriad, tri offeiriad, tri athraw, a dau ddiacon. Llwyni—Un offeiriad. Llanfabon—Un henuriad, dau offeiriad. Cwmamman—Dau henuriad, pedwar offeiriad, tri athraw, ac un diacon. Cwmbychan—Un henuriad. Caerdyf—Tri henuriad, pedwar offeiriad, ac un diacon. Peel—Un henuriad. Abertawy—Un offeiriad, ac un diacon. Llanelli—Dau henuriad, ac un offeiriad. Caerfyrddin—Un henuriad, ac un athraw. Llanybydder—Dau offeiriad, a dau athraw. Brechfa—Dau offeiriad, dau athraw, ac un diacon. Twynyrodyn—Un offeiriad, un athraw, ac un diacon. Trecastell—Dau offeiriad. Wig—Un henuriad, a dau offeiriad. Sir Benfro—Dau henuriad, tri offeiriad, ac un athraw.

Yna penderfynwyd rheoleiddio Stepper's Side, yn sir Benfro, a Gog, ger Caerdyf, yn gangenau, a bod Thomas Hughes i lywyddu ar y blaenaf, ac Abraham Rees ar yr olaf.

Wedi darfod y pethau blaenorol, y Llywydd a ddygodd gerbron y Gymmanfa y penderfyniadau a basiwyd mewn Cynghor y dydd Sadwrn cyn hyny, o berthynas gwneuthur gwahanol siroedd Cymru yn Gynnadleddau, a llywydd a dau gynghorwr ar bob un, fel y buasai'r gwaith oedd ar gefn un hyd y pryd hwnw, yn cael ei ranu rhwng cynnifer o hyny allan. Y penderfyniadau ydynt fel y canlyn:—

"1. Fod Sir Gaerfyrddin i gael ei gwneyd yn Gynnadledd, a Howell Williams yn Llywydd, a William Hughes a David Jeremy yn Gynghorwyr.

"2. Fod Sir Benfro i gael ei gwneyd yn Gynnadledd, a John Morris yn Llywydd, a John Evans a Daniel Williams yn Gynghorwyr.

"3. Fod Sir Feirionydd i gael ei gwneyd yn Gynnadledd, ac Eleazer Edwards yn Llywydd, a David Ains yn henuriad i lafurio gyda Eleazer Edwards, a'i fod ef hefyd, ynghyd â David Roberts, yn Gynghorwyr.

"4. Fod Sir Fflint (yn cynnwys Cefnmawr, Llangollen, Rhosllanerchrugog, Fflint, Bagillt, a Threffynnon) i gael ei gwneyd yn Gynnadledd, a John Davies yn Llywydd, a John Jones yn Llywydd ar Gangen Bagillt, ac efe, ynghyd â Richard Griffiths, Rhos, yn Gynghorwyr.

"5. Fod Sir Ddinbych (yn cynnwys Newmarket, &c.) i gael ei gwneyd yn Gynnadledd, a John Parry, Ieu., yn Llywydd, a David Williams a Joseph Evans yn Gynghorwyr.

"6. Fod Sir Fôn i gael ei gwneyd yn Gynnadledd, ac Abel Evans i'w harolygu, a dewis swyddogion i lafurio ynddi.

"7. Fod Sir Faesyfed i'w gwneyd yn Gynnadledd, a John Carver yn Llywydd.

"8. Fod Sir Fynwy i barhau yn Gynnadledd, a Thomas Giles, Ieu., yn Llywydd, a John Jones, Abersychan, a David Jones, Penycae, yn Gynghorwyr.

"9. Fod Sir Forganwg i gael ei gwneyd yn Gynnadledd, a William Phillips yn Llywydd, a Thomas Pugh a David John yn Gynghorwyr."

Wedi i'r penderfyniadau hyn dderbyn cymmeradwyaeth unfrydol y Gymmanfa, dangosodd y brawd Jones i lywyddion y Cynnadleddau, fod pob un o honynt yn gydradd, a'u cynghorwyr yn nesaf atynt mewn awdurdod, ac fod hawl gan bob llywydd i roddi y bleidlais derfynol yn mhlith ei gynghorwyr. Annogodd hwynt oll i undeb a chydweithrediad, a bod yn ddiwyd bob un yn ei gylch ei hun. Yna terfynwyd y cyfarfod trwy weddi, gan y brawd Henshaw.

Am hanner awr wedi dau, agorwyd y cyfarfod yn Saesneg, gan y brawd Morris, o sir Benfro. Yna cododd y Llywydd i derfynu y materion a ddechreuwyd yn y boreu, gan ddangos yr angenrheidrwydd sydd o fod yr holl Saint yn cydweithredu yn mhob peth, yn eu cangenau, ac yn eu cynnadleddau. Sicrhäai, pan ar ei ymadawiad, os byddai i'r Saint ymddwyn felly, y parhaent oll mewn undeb ffydd, ac y byddent megys meini bywiol, yn barod i gael eu gosod i mewn yn yr adeilad gan y Pensaer dwyfol, heb un peth tebyg i swn morthwyl yn blino clustiau neb. Mewn per-

thynas i'r gwahanol Gynnadleddau, dangosai yn mhellach fod un bwlch yn bod ag oedd eisieu ei gau,—sef cael rhywbeth i fod yn ben ar y gwahanol Gynnadleddau, i'w tywys mewn undeb, heb yr hyn ni fuasai y trefniadau blaenorol ond gwneuthur pethau yn waeth. Gan hyny, cynnygodd y Llywydd a ganlyn, yr hyn a eiliwyd, ac a gymmeradwywyd yn unfrydol,—sef,

"Fod William Phillips, Abel Evans, a John Davis, i gyfansoddi Prif Gynghor Cymru; ac fod Abel Evans i lywyddu dros Gynnadleddau y Gogledd, a John Davis i argraffu y cyfan a berthyn i'r Saint. Hefyd, fod holl arian casgliadau Cynnadledd Morganwg, a'r Cynnadleddau ereill, tuag at draul y Cynghor, i'w talu i William Phillips, yr hwn sydd i gadw cyfrif o honynt, ac i roi y bedwaredd ran i John Davis am fod yn Ysgrifenydd, a'r bedwaredd ran arall i Abel Evans, os bydd ei hanghen arno."

Wrth ymdrin â'r penderfyniadau uchod, dangosodd y Llywydd ddyledswydd y Saint i gynnorthwyo y Prif Gynghor â'u gweddiau, fel y byddo iddynt gael nerth i gyflawni eu gwaith. Dangosodd nad oedd neb i apelio at y Cynghor hwn, oddieithr eu bod wedi methu cael eu boddloni yn nghynghor eu Cynnadledd; ac nad oedd i neb apelio at gynghor y Gynnadledd, cyn apelio at gynghor eu Cangen. Pob mater a fethir benderfynu yn y Prif Gynghor, a drosglwyddir i'r cynghor dan lywyddiaeth O. Pratt, yn Llynlleifiad. Wedi hyny, cyflwynodd y brawd Jones ei lywyddiaeth i ddwylaw William Phillips a'i ddau gynghorwr, Abel Evans a John Davis, gan erfyn ar i Dduw eu bendithio â'i Ysbryd.

Wedi hyny, dangosodd y Llywydd y ddyledswydd sydd ar bawb o'r Saint ag a allant wneyd hyny, i ymdrechu talu y degwm at adeiladu y deml yn Seion; ac hefyd rhybyddiodd y Saint sydd yn ymfudo i wneyd brys i ddanfon y bunt sydd yn angenrheidiol er sicrhau lle yn y llong. Yna, trwy weddi, terfynodd y Llywydd gyfarfod ag y bydd cof am dano gan bawb fu yn bresennol.

Yn yr hwyr, am chwech, dechreuwyd y cyfarfod cyhoeddus gan y brawd Benjamin Jones o Gaerfyrddin, trwy weddi, a thrwy ganiadau melysber gan y cantorion. Yna Capt. Jones, sef y Llywydd yn y cyfarfodydd blaenorol, a gododd i gyfarch y cyfarfod, ar archiad y Llywydd newydd, sef y brawd Phillips, a dangosodd ei fod ef mor barod i ufyddhau i'r llywyddiaeth benodedig, â phe buasai heb fod erioed yn llywyddu ei hunan; a thrwy hyny gadawodd esiampl i'w dilyn gan yr holl swyddogion trwy Gymru. Wedi dweyd ychydig eiriau, eisteddodd i roddi lle i ereill.

Yna galwyd ar frawd Seisnig o'r enw Pickett, i anerch y cyfar-

fod, yr hyn a wnaeth yn fyr a chynnwysfawr, trwy ddarlunio goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd.

Dilynwyd ef gan y brawd Eleazer Edwards, trwy dystiolaethu yn gadarn am y gwirionedd, gan ddangos ei awydd i weithio er achub ei gydgenedl. Annogodd ei gyd-swyddogion i ddyfod allan i'r maes helaeth sydd yn y Gogledd. Yr oedd ei araeth yn felys, difyrus, argyhoeddiadol, a dysgedig; ac ymddangosai yr holl gynnulleidfa yn llawen wrth glywed ei helynt pregethwrol.

Yna cododd Capt. Jones drachefn, a chyfeiriodd at yr amser y bu yn llafurio ar y cyntaf yn Nghymru, a'r ymdrech a wnaeth i ddwyn ei gydgenedl at y gwirionedd, gan lonhau yn y rhifedi ag oedd wedi gael oddirhwng creigiau a mynyddoedd Cymru i fyned tua Seion gydag ef.

Gyda'i fod ef yn diweddu, tarawodd y cantoriou i ganu anthem o fawl; ac wedi gorphen, galwyd y brawd Abel Evans i sefyll i fyny. Darfu iddo ef gymmeradwyo ffyddlondeb Eleazer Edwards, gan annog pawb i osod eu crymanau mewn gwaith i fedi, yn lle eu cadw ar eu hysgwyddau, gan edrych ar ereill yn gweithio. Dywedodd y brawd Evans na ddylai neb gael ei dderbyn yn y Deheudir, pan y byddo wedi ei ddanfon i'r Gogledd, hyd nes y byddo wedi cael gollyngdod oddiyno, gan y byddai hyny yn hwyluso gweithwyr dioglyd.

Wedi canu eilwaith, cododd y brawd Howells o Aberdâr, i gynnyg y penderfyniadau canlynol:—

"1. Fod y Saint Cymreig yn dymuno dwyn eu tystiolaeth ddiffuant i gyflawniad ffyddlawn o oruchwyliaeth eu hanwyl frawd, Capt. D. Jones, mewn llafur dydd a nos, yn eu plith; a'u bod yn analluog i osod allan mewn geiriau y parch sydd ganddynt tuag ato, a'i wasanaeth anmhrisiadwy yn nheyrnas ein Harglwydd Iesu Grist yn Nghymru.

"2. Fod y Saint Cymreig hefyd, fel arwydd o gariad a pharch, yn dymuno anrhegu y Llywydd Brigham Young â phâr o ddillad, a'i anwyl wraig â gwisg o wlanen Gymreig.

"3. Yn gymmaint â darfod i'r parchus frawd, Capt. D. Jones, wario ei amser a'i lafur caled yn Nghymru, heb fod yn faich ar neb o'i frodyr, fod y Saint yn dymuno ei anrhegu yntau hefyd â phâr o ddillad, a'i anwyl gymhares â gwisg o wlanen Gymreig.

"4. Fod holl lywyddion y Cangenau yn Nghymru, i osod y penderfyniadau blaenorol o flaen y Saint, fel y gallo y brodyr gyfranu eu hychydig at y parau dillad, a'r chwiorydd at y gwisgoedd gwlanen,—y cyfraniadau i fod yn y Cynghor yn Merthyr, ar yr 16eg o Ionawr, 1849."

Wedi pasio hyn, cododd y brawd Phillips i ddangos y ddyled-

swydd oedd ar y Saint i gydnabod y Llywydd Young a'i wraig, a'r Capt. Jones a'i wraig; a diolchodd i Dduw am y fraint, neu y rodd, ag oedd yntau wedi gael, gan ddymuno rhan yn ngweddiau yr holl Saint drosto ef a'i gynghorwyr.

Yna cododd y brawd Jones hefyd i gydnabod y Saint am y dangosiad hwn o garedigrwydd tuag ato am ei lafur yn eu plith; a dywedai y byddai iddo gadw yr anrheg erbyn y deuai y Saint oll tua thref, ac y byddai iddo ei dangos yn gyhoeddus, gan hysbysu am ba beth oedd wedi ei derbyn. Annogai y Saint oll i ymdrechu talu eu dyledion i'w gelynion, byw yn sobr ac yn gyfiawn, gan mai trwy hyny y byddent yn parotoi eu hunain i fyned i wlad lle mae cyfiawnder yn cartrefu. Dangosodd hefyd fod amryw o'i gydgenedl, ar ol iddynt ddyfod yn Saint, wedi talu dyledion i'r byd ag nad oedd yn debyg y buasent byth yn wneuthur, pe heb ufyddhau i'r gwirionedd; ac annogodd y cyfryw, ynghyd â phawb ereill, i fyned rhag eu blaen, gan ymddwyn yn dirion, yn onest, ac yn gariadlawn, tuag at eu gilydd, ac at bawb. Wedi hyn rhoddodd amryw o gynghorion gwerthfawr i'r Saint ieuainc sydd heb ymbriodi; a'r ddyledswydd sydd arnynt i ystyried y gwahaniaeth sydd rhwng y wisg briodas yn neithior yr Oen, a'r gwisgoedd hyny a geir yn mhlith y Babiloniaid. Dangosodd nad yw yn beth arferol gan ddoethion daear i ymbriodi, tra byddo y cynauaf heb ddarfod, ac na ddylai y rhai hyny fod yn meddu mwy o ddoethineb nâ'r rhai sydd yn llafurio yn nghynauaf Duw. Nid oedd yn rhoi y pethau hyn fel gorchymynion, ond fel cynghorion, ac fod pob un at ei ryddid yn mhob peth. Yna eisteddodd i lawr, wedi rhoddi boddlonrwydd cyffredinol, ac wedi treulio llawer o'i nerth yn ngwaith ei Arglwydd.

Wedi canu yr hymn ddiweddaf, terfynwyd y Gymmanfa hon trwy weddi, gan y brawd William Phillips. Y Duw grasol a fendithio y cyfan i fod er gogoniant i'w enw.

---

## AUR YN CALIFORNIA.

MAE y newyddiadur a elwir "Bell's Life," am Rag. 31, 1848, yn cadarnhau y newyddion cyntaf a dderbyniwyd ynghylch darganfyddiad o lewndid anarferol o fwn aur yn California, ac yn symud i ffwrdd yr holl ammheuaeth a achlysurwyd gan newyddion anwireddus wedi hyny, dyben y rhai oedd cadw y bobl rhag myned i'w gyrchu, trwy ddweyd mai nid aur oedd, ond rhyw fetel diwerth

arall. Dyfynir a ganlyn o lythyr a dderbyniwyd o Gaerefrog Newydd:—

"Nid chwedl yw am yr aur yn Califoria. Mae Midas yn fyw. Nis geill yr asyn mwyaf yn yr Unol Daleithiau, ond iddo adael ei ysgall ar ol, gwrddid â dim ond aur. Y mae llawer o hono wedi cyrhaedd Washington, wedi ei ddanfon i'r bathdy, ac wedi ei gael allan yn neillduol o bur—yn rhy bur, yn wir, i'n safon. Mae y cyflawnder a gasglwyd yn llawer mwy nag a feddyliwyd. Ond gwnaed amryw gynnygiadau yn bwrpasol i gamarwain y cyhoedd, er gosod attalfa ar yr ymchwiliad, tra yr oedd ereill yn cyfrif y gellid cael tua deng mil o filiynau o bwysi o hono cyn y buasai yn darfod. Yr wyf fi mewn diffyg beth i feddwl am dano. Ond golygwch fod pob troedfedd o dir yn Lloegr yn cynnwys aur —y gellid ei godi allan yn delpynau mawrion o bob craig—pa beth a feddyliech am dano? Yn awr, mor bell ag yr ydym ni wedi cael ar ddeall, y mae tiriogaeth fwy na Lloegr wedi ei chael allan yn y cyflwr hwn. Ai ni chyfnewidiai yn drwyadl agwedd pethau gyda chwi? Ai ni wna hyny gyda ni? Mae rhai o'n cynnilwyr politicaidd eisoes yn dechreu anturio ar y canlyniadau. * * * Mae eich darllenwyr hyddysg, yn ddiamman, yn cofio darllen pan ddarfu y Rhufeiniaid gymmeryd Jerusalem, iddynt gael cymmaint o aur, fel y darfu i'w bris yn Syria ostwng i'r hanner. Yr wyf newydd weled llythyr a ddaeth yn dra diweddar o San Francisco. Mae yn cadarnhau yn helaethach bob hanesion blaenorol o'r wlad euraidd hon. Cyrhaeddodd mwynwr cyffredin yma heddyw, trwy y gwddf dir, a'i bocedi yn llawn o aur. Ei ddyben yma yw prynu tawdd lestri ac offerynau er toddi y mwn yn farau, gyda y rhai y mae yn meddwl dychwelyd yn ddioed."

Dyna fel y llefarir am yr aur yn California. Heblaw hyna, mae y newyddiadur dan sylw yn tystio fod y papyrau Americanaidd yn bresennol yn llawn o ddesgrifiadau cyffelyb. Yr hanes mwyaf manwl a chywir a gymmerir o lythyron y Milwriad Mason, y swyddog awdurdodol yn Monterey; ond ni chaniatâ ein tudalenau, er y carem yn fawr wneyd hyny, i ni ddyfynu yr hanes helaeth a dyddorol a rydd efe. Terfyna ei ddesgrifiad trwy gymmeradwyo sefydliad bathdy mewn man cyfleus gogyfer a'r Bay of San Francisco; a dyweda, "Os na wneir hyn, aiff yr aur, hyd at werth llawer o filiynau o ddollars, drosodd yn flynyddol i wledydd ereill, i gyfoethogi ei marsiandwyr hwy."

Yn mhlith y gwahanol fathau o fwnau a ddanfonwyd i'w profi i Philadelphia, yr oedd rhai gronynau o fetel a dybid yn platina, y trymaf o'r holl feteloedd; ac hefyd ddernyn golygus o cinnabar, neu fwn arian byw, tra phwysig. Danfonir hwynt, gydag aur California, i'r bathdy i'w treio. Meddylia rhai y gall y mwnglloddiau arian byw yn California, droi allan mor werthfawr ag

hyd y nod y lleoedd sy'n cynnwys aur, gan fod yr arian byw mor ddefnyddiol i weithio y mwngloddiau aur. Rhwng pob peth, fe welir fod y wlad y mae'r Saint yn ymfudo iddi yn le ardderchog, ac mai nid rhyfedd fod eu gelynion yn grwgnach o'r herwydd.

---

## AMRYWIAETHAU.

ADNABOD HETIAU.—Nis gall y dyn nad yw yn adnabod ei het, ond a gymmero un arall yn ei lle mewn camsyniad, fod byth yn adnabod ei hun. Nid yw fod dyn yn gweled ei hun mewn drych yn nghopa rhyw het, yn un prawf mai efe bïa hono. Os na ŵyr y cyfryw pa nod i osod ar ei het, troed hi y tufewn allan.

CANU *v.* PREGETHU.—Ar y 1af o Hydref diweddaf, yn y Wern, gerllaw Ebenezer, Llangunnog, yr oedd dau Saint o'r enwau David Lewis ac Isaac Jones, o Gaerfyrddin, yn pregethu allan, ynghylch pedwar o'r gloch, ac o fewn ychydig droedfeddi i'r ffordd. Yr un prydnawn Sul, yr oedd Mr. John Williams, mab Mr. Williams, Ebenezer, yn pregethu mewn fferm gyfagos, a elwir Castellygarthen; ac wedi gorphen, cychwynodd torf oddiyno yn mlaen tuag Ebeneser, dan *ganu hymnau*, hyd nes y daethant at gyfarfod y Saint, pryd y collasant y dôn trwy eiddigeddu yn ormodol ar y Saint, un o'r cyfryw oedd ar hanner ei bregeth ar yr amser. Dywedai y rhai oedd yn gwrandaw yn nghyfarfod y Saint fod ystumiau y crefyddwyr hyny wrth basio yn atgas iawn; ac i amryw o honynt hebrwng eu brodyr heibio i'r Saint, yn unig er mwynhau yr aflonyddwch a chynnyddu y sarhad, gan ddychwelyd yn ol i wrandaw o hirbell. Mae yn deilwng o sylw hefyd ddarfod i'r Saint unwaith gael caniatâd i bregethu wrth dalcen efail gof yno, yr hwn ôf a boenwyd gan y Bedyddwyr hyd nes y cydsyniodd i wahardd y lle; wedi hyny symudodd y Saint le eu cyfarfod oddeutu tair llath o dalcen yr efail, lle mae y tir yn feddiant cyffredin. Wedi i'r Bedyddwyr fethu yn hyny, penderfynasant i dreio eu rhwystro trwy ddyfod yno i *ganu hymnau*!

GEMAU.—Bod mewn dyled yw y tlodi gwaethaf.—Wyneb yn wyneb, a'r gwir a ddaw allan.—Yr hyn a ennilli trwy gelwydd, a fydd yn sicr o losgi dy fysedd.—Mae diolchgarwch yn cadw hen gyfeillion, ac yn gwneyd cyfeillion newydd.—Ni fydd i weithredoedd da fyth eich achub, ond nis gellwch gael eich achub hebddynt.

GWYRTHIAU.

Os yw'r gwyrthiau wedi peidio,
Ofer mwy i neb obeithio;
Can's os cododd Crist rai meirw,
Ni ddaw'r lleill byth làn o'u lludw.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, CAERFYRDDIN.

RHIF. **2.**

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. I.] CHWEFROR, 1849. [PRIS 2*g*.

## CYNNWYSIAD.



CAERFYRDDIN:
ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, HEOL-PRIOR;
AR WERTH HEFYD
Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr,
trwy y Deau a'r Gogledd.
1849.

## AT EIN GOHEBWYR.

☞ Ni ddysgwyliwn glywed oddiwrth ein brawd Capt. Jones ei hun, am yr ymadawiad o Gymru, hyd nes y clywom am y tiriad yn New Orleans; ond cawsom wybodaeth gan ereill fod y cwmni oll wedi cyrhaedd Liverpool yn iach a chysurus, ac iddynt hwylio oddiyno, yn nghwmnïaeth amryw gannoedd o Saeson, ar yr 21ain o'r mis hwn. Bydded eu "Tad wrth y llyw," ac yn rhoi iddynt wynt têg, nes cyrhaedd yn ddiangol i dref. Gwnawn ninnau droi y glust fyddar at y mil-ond-un ystoriau penchwiban a draethir am Capt. Jones wedi ffoi, ac yn y carchar—y Saint wedi dychwelyd yn ol, &c. Dyma "amryfusedd cadarn," onide?

☞ Atebir gofyniad D. D. ynghylch ail-fedyddio, yn nechreu y Rhifyn hwn.

☞ Hysbyswn T. E. y gellir cael digon o drwyddedi at bregethu ac at gapeli, oddiwrthym yn Merthyr, gan y byddwn yn argraffu rhai yn fuan.

☞ Rhaid i'r Cangenau fod yn amyneddgar am y Llyfr Eglwys, o herwydd mae cost a thrafferth mawr i'w wneuthur.

☞ Meddyliwn mai gwell i'r henuriad T——, yw gadael heibio rhoi dysgeidiaeth rhy ddwfn i'r byd; dysged iddynt ffydd, edifeirwch, bedydd, arddodiad dwylaw, &c. Ni argyhoeddir hwynt â dim arall.

☞ Carem i ysgrifenwyr tystiolaethau fod yn fyr, ac i sylwi os bydd y tystiolaethwr yn boblogaidd, a chanddo rywbeth er adeiladaeth i'n darllenwyr yn gyffredinol.

☞ Dymunwn hysbysu fod Thomas Pugh yn ddirprwywr dros ranau isaf Cynnadledd Morganwg, ac mai efe sydd i dderbyn pob eirchion, ac arian, am lyfrau yn y parthau hyny. Ei gyfarwyddyd yw "Mr. Thomas Pugh, care of Mr. John Harries, Sawyer, Green Court, Neath."

☞ Llywydd pob Cynnadledd sydd i dderbyn eirchion am lyfrau o fewn ei sir, ac nid nyni. Anfoned pob Llywydd, ynte, ei gyfarwyddyd i'r UDGORN.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, a llythyron i'r Prif Gynghor, ar ol yr 20fed o Fawrth, at "John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 2.] CHWEFROR, 1849. [CYF. I.

## "ATHRAWIAETH BEDYDDIADAU."

MEDDYLIA llawer, oblegid i Paul ddweyd "un bedydd," nad yw yn iawn i fedyddio neb fwy nag unwaith. Ond camsynied mawr yw hyna, ag sydd yn cyfodi oddiar draddodiad ein tadau, y rhai ni wyddent y gwahaniaeth sydd rhwng yr "un bedydd" ag amryw weinyddiadau o'r cyfryw. Nid yw gweinyddiad yr ordinhad ar ddau berson yn gwneyd dau fedydd; ac, wrth gwrs, nid yw bedyddio dyn ddwywaith yn cyfansoddi dau fedydd, mwy nâ phan yn bedyddio dau berson. Bedyddiad yw un gweinyddiad o'r ordinhad, a "bedyddiadau" yw amrywiol weinyddiadau. "Athrawiaeth *bedyddiadau*," ynte, sydd dan ein sylw; ac y mae arnom eisieu ei phrofi yn rhesymol ac yn ysgrythyrol. Yr ydym ni mor barod â neb i addef mai "un bedydd" a ddylai fod; ac yr ydym hefyd yr un mor barod i haeru fod mwy nag un yn cael eu harddel yn Nghymru yn y dyddiau hyn, a chan y rhai hyny sydd yn crochfloeddio "un bedydd." A feiddiwn ni ddweyd mai "*un* bedydd" yw bedydd yr arwydd, bedydd y siampl, bedydd y daen, bedydd y droch, bedydd y baban, bedydd y crediniol, a'r bedydd er maddeuant pechodau? Na, gwyddom er ys blynyddau bellach, nas gall llawer fod yn un.

Yn awr, gan mai "un bedydd" a ddylai fod, cawn chwilio allan pa fath un yw hwnw, fel y gallom farnu os ydyw yn fedydd a ellir weinyddu fwy nag unwaith ar yr un person. Dichon y bydd dywediad Pedr ar ddydd y Pentecost, yn ddigon i egluro dyben y bedydd. Dywedai efe, "Edifarhewch, a bedyddier pob un o

honoch yn enw Iesu Grist, er *maddeuant pechodau*" (Act. ii, 38). Mae yn rhaid mai y bedydd yna a feddyliai Paul am dano, pan y dywedai "un bedydd," ac nid un arall. Nid bedydd ydoedd i arwyddo maddeuant, ond i gael maddeuant trwyddo; a'r sawl a ufyddhäai i fedydd felly, a dderbyniai faddeuant pechodau gan Dduw, trwy ymateb cydwybod dda yn y bedydd. Trwy ufyddhau i fedydd er maddeuant pechodau, neu gymmeryd ei "eni o ddwfr ac o'r Ysbryd," yn unig y gall dyn fyned i mewn i deyrnas Dduw. Pan yn nheyrnas Dduw, nid oes achos i neb gael ei fedyddio, neu ei eni drachefn, am bob trosedd a wna: gwna y tro iddo ofyn maddeuant y Brenin a'i gyd-ddeiliaid, canys y mae Mab y Brenin yn eiriol dros bob un yn y deyrnas. Ond pan na wnelo y deiliad felly, a thrwy hyny droseddu yn ormodol, mae yn cael ei fwrw allan i deyrnas y tywyllwch, sef i'r un sefyllfa ag oedd ynddi ar y cyntaf. Yn awr, golygwch fod chwant ar y cyfryw i ymddarostwng eilwaith, a dymuniad ynddo i fyned mewn drachefn i deyrnas Dduw;—pa fodd y gallai efe fyned? Ai megys lleidr, trwy ddringo lleoedd anghyfreithlawn, neu ynte trwy y drws, megys o'r blaen? Os mai trwy y drws yr elai, fel pob dyn gonest, a fuasai hyny yn gwneyd yr un drws hwnw yn ddau ddrws? Ac os nad bedydd er maddeuant pechodau, neu "eni o ddwfr," yw y drws, pa beth all efe fod? Nid oes achos trafferthu i ateb: canys nid yw gweinyddiad ddwy waith neu dair o fedydd, ar yr un person, ddim yn gwneyd ychwaneg nag "un bedydd,"—mwy nag ydyw credu yr un peth ddwy waith neu dair drosodd, gan yr un person, ddim yn gwneyd ychwaneg nag "un ffydd." Mae yn amlwg, ynte, y rhaid i ddyn gredu o'r newydd, cymmeryd ei fedyddio o'r newydd, cyn y gall fyned i mewn o'r newydd i deyrnas Dduw; ac os amcana ffordd arall, lleidr ac yspeiliwr yw, yr ail dro, megys y tro cyntaf.

Wedi dangos rhesymoldeb "athrawiaeth bedyddiadau," cawn edrych yn mhellach i'r hyn a ddengys yr ysgrythyrau yn ei chylch. Dywed Paul wrth yr Hebreaid, er y dylent fod yn athrawon o ran amser, fod eisieu dysgu iddynt pa beth yw "egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw," ac mai gwrthddrychau i fyw ar laeth oeddynt, yn lle bwyd cryf a allent gael, pe buasent

gynnefin ag ef. Yna, ymresyma Paul fel hyn—"Am hyny, gan roddi heibio yr ymadrodd sydd yn *dechreu* rhai yn Nghrist, awn rhagor at berffeithrwydd; heb osod i lawr DRACHEFN sail i *edifeirwch* oddiwrth weithredoedd meirwon, ac i *ffydd* tuag at Dduw; i athrawiaeth BEDYDDIADAU, ac arddodiad dwylaw" (Heb. vi, 1, 2). "A hyn a wnawn," meddai efe, "os caniatâ Duw; canys," medd efe etto, gan ddangos y perygl, "anmhosibl yw i'r rhai a oleuwyd unwaith, ac a brofasant y rhodd nefol, ac a wnaethpwyd yn gyfranogion o'r Ysbryd Glân, ac a brofasant ddaionus air Duw, a nerthoedd y byd a ddaw; ac a syrthiant ymaith, ymadnewyddu drachefn i edifeirwch" (adn. 3—6). Os ydyw dyn yn agored i gael sail *drachefn* i edifeirwch a ffydd, paham lai i fedydd ac arddodiad dwylaw? Fe welir nad yw yn bosibl i rai sydd wedi derbyn bwyd cryf, ac yn syrthio wedi hyny, i ymadnewyddu drachefn; a'i bod yn bosibl i rai sy'n arfer llaeth, i osod sail drachefn i edifeirwch, ffydd, bedydd, ac arddodiad dwylaw—ond mai gwell o lawer yw treio peidio, trwy fyned "rhagor at berffeithrwydd," "gan fod yn *hyderus* yn hyn, y bydd i'r hwn a ddechreuodd ynoch waith da, ei orphen hyd ddydd Iesu Grist." Pob un o'r Saint nad ydynt yn caru athrawiaeth "bedyddiadau," aed rhagddo fel y cynghora Paul, rhag iddo gael ei droi allan o'r deyrnas, ac iddo sefyll y perygl o fethu ymadnewyddu er dyfod i mewn drachefn. Ac os oes rhai o'r byd am wrthwynebu yr athrawiaeth hon, bydded iddynt wneyd hyny ar dir rheswm ac ysgrythyr, fel y gwypom ni pa le i edrych am y frwydr, er mwyn bod gerllaw.

---

## RHESYMAU PAHAM YR WYF YN SEFYLL DROS EGWYDDORION Y SAINT.

1. Y PETH cryfaf mewn cyfraith yw tyst: felly yr efengyl, yr hon yw "perffaith gyfraith rhyddid." Rhaid iddi hithau gael tyst dros bob achos. Ond y gofyniad yw, pwy sydd yn dystion? 1. Yr wyf fi yn dyst trwy weled, clywed, a theimlo; am hyny, yr hyn wyf yn wybod ydwyf yn dystiolaethu; sef fod Duw wedi dadguddio ei ewyllys yn yr oes hon, a chodi proffwyd i sefydlu ei eglwys (Saint y Dyddiau Diweddaf) ar y ddaear, a bod y gweision

o anfoniad ac mewn awdurdod. 2. Mae y Beibl yn dyst, yr hwn mae y bobl yn dweyd eu bod yn ei gredu; mae hwn yn son fod Duw am adferyd pob peth yn y dyddiau diweddaf, yr hyn ni all fod heb adferu yr eglwys fel ag yr oedd yn y dechreuad. 3. Mae yr Ysbryd Glân yn dyst; ond ni ellir cael hwn heb ufyddhau yn gyntaf. "Ni all y byd ei dderbyn," medd Crist; a dywedodd Pedr, "Nyni ydym ei dystion ef o'r pethau hyn, a'r Ysbryd Glân hefyd, yr hwn a roddes Duw i'r rhai sy'n ufyddhau iddo ef."

2. Nid oes yr un genadwri neu gommisiwn, ond a bregethir gan y Saint; canys mae y commisiwn i'w ddarllen fel y canlyn:—"Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur." Nid oes yma neb yn cael ei anfon ond apostolion; a chan fod sectau yr oes yn gwadu bodoliaeth apostolion, nid oes ganddynt hwy oll neb i gychwyn i bregethu, yn ol y genadwri hon; am hyny dylent beidio pregethu, neu addef apostolion a phrophwydi yn yr eglwys, gan gofio hefyd "nad yw neb yn cymmeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, ond yr hwn a alwyd gan Dduw, megys Aaron." Galwyd Aaron trwy brophwyd, sef Moses; felly hefyd y galwyd Timotheus "trwy brophwydoliaeth ac arddodiad dwylaw yr henuriaeth;" a chan nad oes ganddynt ysbryd y brophwydoliaeth, pa fodd y dichon fod ganddynt gymmaint ag un pregethwr rhyngddynt, llawer llai eu holl athrawon yn weision i Grist? Hefyd, mae yn rhaid i'r gweision anfonedig bregethu i freninoedd ac archesgobion, offeiriaid a phregethwyr, yr un modd â'r annuwiolion; canys dywedodd Crist am bregethu i "bob creadur;" ac os oedd eisieu pregethu i'r offeiriaid Iuddewig, mae eisieu pregethu i bregethwyr ein gwlad ninnau.

3. Pe buasai Joseph Smith yn gau-brophwyd, a'r Saint oll yn dwyllwyr, nid yw hyny yn profi fod cymmaint ag un o'r enwadau crefyddol ereill yn eglwys i Dduw: am hyny, nid ymdrechu dangos fod y Saint yn gau a ddylent, ond dangos eu bod hwy yn wir eglwysi; ac yr wyf yn tybied fod hyny yn ddigon o waith iddynt am un flwyddyn, o leiaf.

Yma gosodaf gynllun o'r eglwys wreiddiol, i edrych a oes rhyw sect yn ein gwlad yn ateb i'r portread. 1. Rhaid cael ysbryd y brophwydoliaeth, cyn y dichon neb fod yn dyst. 2. Rhaid cael tystion etholedig i sefyll dros y gwirionedd a ddysgir yn yr eglwys. 3. Rhaid cael yr eglwys yn un gymdeithas, ac ni all fod yn fwy nag un mewn modd yn y byd. 4. Rhaid i'r tystion fod yn alluog i derfynu pob dadl, trwy dystio, Fel hyn y dywed yr

Arglwydd; am hyny, mae y gweision hyn yn gwybod pwy yw deiliaid bedydd, pa fath yw y dull, beth yw y dyben, &c.; ac nid yn unig yn y pwnc o fedydd, ond pob pwnc arall a fyddo angenrheidiol i'r eglwys ei wybod. Pwy na ddymunai fod yn aelod yn y fath eglwys â hon?

R. EVANS.

---

## Y PREN A'I FFRWYTH.

POB pren adwaenir wrth ei ffrwyth,
Medd Iesu Grist, y Barnwr doeth;
A phob rhyw ffrwyth sy'n codi'r llèn,
Er gweled da neu ddrwg y pren.

A dyma'r ffrwythau yn eu rhyw
O hyd a geir yn Eglwys Dduw:—
Ffydd a gwybodaeth, dawn iachâu,
Ac amryw ieithoedd i ryw rai.

Prophwydo a dadguddio'n gu,
Mae'r gwir Ddyddanydd hwn i ni;
A phethau fu, y sydd, a ddaw,
Mae yn egluro ar bob llaw.

A nerthol ddoniau mae yn roi,
Nes peri i gythreuliaid ffoi;
A dyma'r ffrwythau brawf y pren—
Hyn ydyw sel y nefoedd wen.

Os nad yw'r ffrwythau hyn i'w cael,
Nid yw addewid Paul ond gwael;
Addawodd ef y cai pob rhai,
Yn ddiwahaniaeth, eu mwynhau.

Wrth eglwys Corinth* d'wedai ef,
Fod iddynt gael o ddoniau'r nef;
A'r un addewid roir o hyd
"I bawb" a alwo Duw o'r "byd."

Prophwydodd Jöel gynt yn blain,
Y caffai eglwys Dduw y rhai'n:
"Fy meibion i, a'm merched oll,"
Medd Duw, "brophwydant yn ddigoll;

* 1 Cor. xii—xiv.

"Gwyr ieuainc welant bethau syn,
'Nol derbyn yr efengyl hyn;
Breuddwydio wna'r henafgwyr gwyw,
'Nol gwir arweiniad Ysbryd Duw."

Fel hyn y parant yn y bla'n,
Trwy dderbyn dawn yr Ysbryd Glân;
A'm gwir dystiolaeth i bob dyn,
Yw fod y pren a'i ffrwyth yr un. A. E.

---

## CARU Y TYWYLLWCH YN FWY NA'R GOLEUNI.

A GANLYN sydd lythyr a ddanfonwyd at ein brawd Capt. Jones, dyddiedig Rhagfyr 25, 1848, gan ddyn ag sydd yn byw oddeutu deg milltir i Ferthyr. Yr ydym yn cuddio ei enw, rhag ofn i ni ei dramgwyddo wrth ei amlygu. Ymddengys fod y dyn wedi bod yn ymresymu â Chapt. Jones ynghylch athrawiaeth y Saint; a'r effaith a gafod hyny arno a welir yn y llythyr canlynol:—

"Yr ydwyf yn methu a gadael yr eglwys yr wyf wedi bod yn aelod o honi gymmaint o flynyddoedd, ac ymadael â'm cysur teuluaidd, i wneyd proffes o grefydd Saint y Dyddiau Diweddaf,—er ei bod wedi gwneyd llawer o derfysg meddwl i fi, mwy na mai neb yn ei feddwl ond fy hunan, fe ddichon. Yr wyf yn penderfynu glynu yn fy mhroffes, ac i droi y glust fyddar at eich rhesymau swyngar; ac yn dymuno ar i chwi beidio siarad rhagor â mi, gan fy mod yn cael fy nhueddu gymmaint i wneyd prawf o honoch."

Mae y llythyr uchod yn dwyn ar ein cof yr ymresymu a fu rhwng Paul ac Agrippa, a'r ofn oedd ar yr olaf i gael ei ennill yn Gristion trwy resymau cedyrn yr apostol. Mae yn ddrwg genym am ddynion o'r fath. Er cael eu hargyhoeddi o'r gwirionedd, y mae yn well ganddynt wneyd aberth o'u hunain, nag o'u cysur teuluaidd a'u proffes. Mae yn drueni na chai rhai pobl ddilyn Crist, heb gyfodi ei groes; a myned ar ei ol i ogoniant, heb eu casâu na'u dirmygu gan y byd. Hwyrach y gall awdwr y llythyr deithio tua'r bywyd ar hyd y ffordd lydan, trwy droi y "glust fyddar" at y rhai sydd yn dangos y ffordd gul. Os gall wneyd hyny, fe ddangosa fwy o ddoethineb nag a ddangosodd Mab Duw erioed. Yr oedd ffordd hwnw yn arw iawn, a dim ond "ffol bethau y byd" a ryfygent ei theithio. Aberthid gormod o gysuron teuluaidd a phroffesyddol gan y doethion, pe dilynent "fab y saer," sef y "dyn glwth ac yfwr gwin" hwnw a fu yn bwrw allan gyth-

reuliaid trwy Beelzebub. Mae dewis ffordd Crist a'i apostolion yn yr oes hon, yn hytrach na ffordd Calvin, Wesley, &c., yn profi y dewiswyr yn "ysgubion y byd, ac yn sorod pob dim," ac "allan o'u pwyll" fel Crist: ond y mae dewis crefyddau croes i eiddo yr apostolion, a chroes i'w gilydd, yn profi y dewiswyr yn ddynion call, cyfrifol, a pharchus, ac yn rai a ddywedir yn dda am danynt gan y byd. Nid rhyfedd, ynte, wrth ystyried y cwbl, fod y dyn dan sylw yn penderfynu troi y glust fyddar at yr hen Seintiau, a'u rhesymau swyngar, ac i lynu wrth broffes a wna y byd, cnawd, a diafol yn gyfeillion iddo!

---

## TYSTIOLAETH PHILLIP SEIX, BLAENAU, GWENT.

MR. GOL.,—Dymunaf gael lle yn yr UDGORN, er hysbysu y cyhoedd mewn perthynas i'r celwyddau a daenwyd am danaf fi, William Phillips, a Chapt. Jones, wedi i mi gael fy ngosod yn y gwallgofdy. Yr wyf yn awr wedi dyfod allan o'r lle hwnw, ac yn cael fy ystyried yn fy iawn bwyll, ac yn alluog ddigon i ddweyd yr hyn wyf yn wybod. Nid wyf yn bresennol yn aelod gyda y Saint, er yn dymuno cael ymuno â hwynt etto yn fuan; ond, ar yr un pryd, dymunwn glirio cymmeriadau William Phillips a Chapt. Jones yn ngwyneb y celwyddau cywilyddus a ddywedwyd am danynt; canys nid wyf yn ystyried y byddai yn gyfiawnder ynof i beidio gwneyd goncstrwydd â phawb. Dywedwyd i Gapt. Jones gymmeryd llawer o arian oddiwrthyf, ynghyd â'm horiawr, yr hyn oll sydd yn anwiredd noeth. Hefyd, dywedwyd iddo fyned â'm côt fawr oddiwrthyf; ond y gwir yw, ni fu côt felly genyf er pan ddaethum at y Saint, ac felly nid oedd yn bosibl y gallai Capt. Jones fod wedi cael cyfle i'w chymmeryd. Y mae yr holl bethau ereill a daenwyd am gymmeryd pethau oddiwrthyf, yr un mor gelwyddog. Mewn perthynas i'r hyn a ddygwyddodd i mi yr amser hwnw, sef y driniaeth a dderbyniais oddiwrth ysbrydion drwg, yr wyf yn tystio i mi dderbyn llawer o ryddhad oddiwrthynt, pan oedd yr henuriaid yn eu ceryddu oddiwrthyf; a phan oeddwn yn cael fy mlino ganddynt drachefn, yr achos oedd, o herwydd nad oeddwn yn gwneyd fel y cawswn fy nysgu gan y swyddogion, a thrwy hyny yr oeddwn yn rhoddi lle i ddiafol. Yr oedd fy mod yn "newyddian yn y ffydd," efallai, yn rhwystr i mi weithredu megys y dylaswn. Gallaf ddweyd i mi dderbyn llawer o les oddiwrth weddiau y Saint droswyf; ac y mae

yn llawen genyf yn awr fy mod yn fy iawn bwyll. Yr wyf yn gwybod mai dynion da yw y Saint, ac fod eu crefydd o Dduw, ac hefyd iddynt hwy wneuthur eu goreu droswyf. Yr hyn oedd allan o le, nid yn y Saint, na'u crefydd, yr oedd, ond ynof fi. Mae y pethau uchod yn wirionedd, ac yn deilwng o gael eu gwneyd yn hysbys. Yr eiddoch, &c.,

*Chwef.* 6, 1849. PHILLIP SEIX.

[Dyma y dyn y bu y Parch. W. R. Davies, Dowlais, yn bragawthan cymmaint yn ei gylch yn "Seren Gomer," a misolion ereill, gan awgrymu ei fod wedi cael ei yspeilio o'i arian. Barned pob un drosto ei hun, pa un ai y Parchedig sobr, duwiol, ac anerlidgar hwn, neu y dyn ei hunan, a ddylai wybod oreu pa un a gafodd ei yspeilio ai peidio? Mae y ddiareb a grybwyllai Mr. Davies (sef, "Oni chospi di leidr, efe a'th gospa di"), pan yn sylwi ar ei ffrynd Capt. Jones yn bwgwth cospi ei gamgyhuddwyr, yn awr yn teilygu y ddiareb "Lleidr a waedda lleidr gyntaf," yn gymhares. Rhybyddiwn Mr. Davies cyn tewi, fod "cythraul Nantyglo" yn awr yn chwilio am orphwysfa mewn lleoedd sychion; ac os yw efe am ei gadw rhagddo, cadwed ei dufewn, fel arferol, yn ddigon *gwlyb*.—GOL.]

---

## PHOSPHORUS YN DYNOETHI CELWYDD.

DENGYS y llythyr canlynol atom dwyll yr ystoriau hyny sydd yn dweyd mai phosphorus yw Ysbryd Glân y Saint, ac hefyd dengys mai elw bydol parchedigion yw y ffynnonell lle tarddant:—

"Victoria, Ionawr 27, 1849.

"Anwyl Frawd,—Y mae yn beth dyledus i chwi a'r cyhoedd gael gwybod ychydig am yr achos a'm cymhellodd i ymuno â'r Saint ar y cyntaf. Pan oeddwn wedi clywed cymmaint o ddywedyd yn eu herbyn gan y rhai hyny a ystyriwn yn weision i'r Duw Goruchaf, y rhai yn wir a gredaswn bob gair, yr oeddwn yn defnyddio eu dywediadau, hyd ag y gallwn, i wrthwynebu y rhai hyny a alwent hwy a minnau yn Sataniaid a chythreuliaid, &c. Ond er ys amser yn ol, fe benderfynodd ein gweinidog, sef Mr. Rees, Victoria, i fyned allan yn enw Duw byddinoedd Israel, yn erbyn y Philistiaid Mormonaidd, a'u gorchfygu, meddai efe; eithr er ei fawr siomedigaeth, fe fu yn foddion i argyhoeddi rhai o'i aelodau ei hun, y rhai erbyn hyn sydd yn dwyn tystiolaeth gadarn o ddwyfoldeb y grefydd a broffesant yn awr, rhagor yr hyn a gawsant dan ei weinidogaeth ef, er ei cheisio am flynyddau fel fy hunan. Yn awr, pan welodd Mr. Rees fod gobaith ei elw ef yn

pallu wrth hyny, fe ddywedodd un noswaith, pan yn tori un o'i aelodau allan am ymuno â'r Saint, ei bod wrth hyny wedi pechu yn erbyn yr Ysbryd Glân, a'i fod ef yn ei diaelodi ar gyhoedd y gynnulleidfa er esiampl i ereill; a dywedodd hefyd y gallai efe ddangos twyll y dynion hyny â gwerth tair ceiniog o phosphorus! Wedi hyny, daeth Mr. Rees ag ef i mi mewn costrel i'r dyben hwnw, gan fy rhybyddio o'i blegid, ac i mi ofalu cadw dwfr yn y gostrel yn wastad; a phan elwn mewn i dŷ un o'r Saint, am i mi ei rwbio yn fy mhen cyn hyny, gan wneuthur fy ngwyrthiau yn ddirgelaidd, a pheidio dangos yr hyn oedd genyf i neb. Hefyd, dywedodd fod dyn yn yr America wedi gwneuthur ei hun felly yn debyg i angel yn ngolwg dynion, ac iddo eu perswadio i adeiladu tŷ iddo, trwy ddweyd mai angel Duw oedd, ac y buasent hwy yn cael eu bendithio yn fawr am hyny. Ond pan aethym i dreio cynnwysiad y botel, fe losgodd fy mysedd! ac erbyn hyny, fe ddechreuais arafu, a dywedyd nad allai y fath beth â hwnw fod yn cael ei arfer gan y Saint ar eu penau, o herwydd ei fod yn llosgi mor enbyd; a gwelais mai "chwedlau gwneuthur" a draethwyd wrthyf gan fy mugail. Y gorchymyn nesaf a gefais, oedd i mi ochelyd rhag y twyllwyr, rhag iddynt fy nhwyllo innau; ond er hyny, fe benderfynais i brofi y twyll, gan fod y Saint yn addaw dawn yr Ysbryd Glân i bwy bynag a ufyddhäai. Felly, cefais fy medyddio er maddeuant pechodau; ac erbyn hyn yr wyf yn gwybod mai Mr. Rees a'i botel yw y twyllwyr, a bod yr arwyddion yn canlyn y Saint fel y dywedant. Y mae cymmaint o wahaniaeth rhwng fy nghrefydd yn awr a'r hyn a broffeswn o'r blaen, ag sydd rhwng sŵn a sylwedd—ïe, rhwng dymuniad o beth a mwynhad o hono; ac yr wyf wedi derbyn mwy o wybodaeth yn awr, nag a gefais yn ystod y naw mlynedd y bum gyda'r Bedyddwyr. Am hyny, dymunwn ar fy hen frodyr anwyl i beidio credu yr hen chwedlau a'r celwyddau a gyhoeddir o bryd i bryd yn y cyhoeddiadau, a chan y parchedigion hyny sydd yn darnguddio y gwirionedd oddiwrth eu gwrandawwyr. Bydded iddynt wneyd prawf o'r Saint drostynt eu hunain; ac os gwnant, a hyny yn onest, yr wyf yn gwybod y derbyniant ddawn yr Ysbryd Glân, ac y cânt wybod am y ddysgeidiaeth.

"Yr eiddoch, anwyl frawd, yn y gwirionedd,

"JOHN DAVIES.

"O.Y.—Drwg genyf eich hysbysu hefyd fod cynnwysiad y botel wedi cymmeryd tân, a llosgi dwylaw un yn dost iawn."

## YCHWANEG I BROFI DWYFOLDEB LLYFR MORMON.

[Allan o'r "Edinburgh Evening Courant," am Hydref 16, 1848.]

"DARGANFYDDIADAU YN AMERICA:

"MAE y papyrau a dderbyniwyd o'r Unol Daleithiau trwy y cludiad diweddaf, yn cynnwys amryw o bethau dyddorol a chywrain ag sydd yn deilwng o sylw neillduol. Yn mhlith y cyfryw gwnawn nodi, yn gyntaf, yr hanes manwl a rhyfedd a roddir, o fod yn Durango, prif-ddinas y dalaeth o'r un enw, yn Mexico (oddeutu lat. 24 deg. 30 min., and long. 103 deg. 25 min. W.), ogofeydd wedi eu darganfod a'u chwilio yn dufewnol, yn cynnwys cannoedd o filoedd o gyrff perarogledig (*mummies*), tebyg i'r rhai hyny yn yr Aifft gyntefig. Mae hyn yn bwynt a ffaith neillduol yn hanes dyn, a bydd ymchwiliad pellach i'r hen weddillion hyn yn cael ei ddysgwyl yn awyddus genym ni a'r cyhoedd ymofyngar. Yn y cyfamser, mae y darganfyddiad yn arddangos yn eglur fod y gweddillion o darddiad Aifftaidd neu Phœniciaidd, neu, yn fwy priodol, o'r ddau. Mae llawer o resymau, oddiwrth ddarganfyddiadau diweddar, dros gredu fod cyfandir yr America wedi bod yn adnabyddus i genedloedd cyntefig yr hen fyd; a gellir meddwl yn union i genedl, fel yr Aifftiaid, a amfordwyent Affrica, fel ag yn ddiau y gwnelai yr Aifftiaid, groesi y Mor Werydd, a thirio yn America. Modd bynag, os darfu iddynt unwaith fyned tua'r deau, ac o olwg tir, o fewn terfynau y tymmoreiddwynt, nis gallent lai na chael eu gyru o'i flaen i'r byd gorllewinol. Y mae yn eithaf sicr fod dynion cochion y Windward Islands, Grenada, a St. Vincent (yn awr, feddyliwn, ddim yn bodoli), oddiwrth eu dull, eu harferion, a'u crefydd, wedi deilliaw o'r genedl Phœniciaidd a Charthagenaidd; ond oddiwrth y darganfyddiad dan sylw, a'r rhai hyny a wnaed ryw amser yn ol yn America Canolbarthol, gan Stephens, ymddengys fod yr holl gyfran orllewinol o gyfandir America wedi cael ei darganfod a'i phoblogi unwaith gan genedloedd o Asia Ddwyreiniol. Byddai ein terfynau yn rhy fach er dyfynu cyfeiriadau i gadarnhau y ffaith hon. Gwnawn sylwi yma yn unig, y bydd i bwy bynag a edrycho ar y darluniau medrus a rydd Stephens yn ei lyfr ar America Canolbarthol, weled eu bod wedi eu britho ag arwydd-luniau Aifftaidd a llythyrenau Hamyarctaidd, yr un fath â'r rhai hyny a ddarganfyddwyd yn ddiweddar yn Arabia Ddeheuol, ac y cenfydd ar unwaith fod y lluniau a'r dulliau yn perthyn i genedloedd Asiaidd tra gwareidd-

iedig, yn mha ran o'r byd yr oedd llawer o amherodraethau gwrteithiedig i'w cael mewn amseroedd boreuol iawn, fel hefyd yn yr Aifft, yr henaf a'r mwyaf pwerus o'r cyfan, a'r hon, er yn allu Affricanaidd, a siarad yn gywir, oedd â'i llywodraeth er hyny yn estynedig yn Affrica ac yn Asia; ac uwchlaw'r cwbl, yr oedd, yn y gyfran Affricanaidd, yn cael ei chynnwys yn yr hyn a elwid yn Wlad Cush neu Ethiopia, yn ei ystyr boreuol a mwyaf eang, yn cynnwys Arabia ac Affrica, o'r Môr Coch hyd lànau y Nilus trwy ei holl redfa.

"Fel cadarnhad i'r hyn ag ydym wedi ddweyd mewn perthynas i fod America, yn ei rhanau gorllewinol, wedi ei darganfod a'i phoblogi o'r byd dwyreiniol, gallwn ddweyd i ni gael yn ddiweddar y pleser o siarad â boneddig tra dysgedig, wedi byw yn hir yn Sandwich Islands (Hinololu), yr hwn a ddywedai nad yw yn beth anarferol i longau o Japan gael eu gyru gan y gwyntoedd gorllewinol ar, neu eu tywys gan longau morfila tuag at, yr ynysoedd hyn, a thirio arnynt; a'i fod ef ei hun wedi bod yn foddion i amgeleddu a danfon yn ol rai o'u morwyr i'w gwlad eu hunain trwy y sefydliad Rwssiaidd yn Kamskatscka. Mae ffyniant gwyntoedd cryf de-orllewinol o holl ororau Asia Ddwyreiniol, tuhwnt i'r tropic gogleddol, yr un mor sicr o yru llongau, pan wedi eu chwythu allan o'r goror, o'u blaen i oror America, ag y cariai y tymmoreiddwynt ar y Mor Werydd longau o Affrica i America. Ond yr hyn sydd fwyaf ei bwys, ac i'r pwynt, fe ddywedodd wrthym fod brodorion y Sandwich Islands yn ddyddiol yn yr arferiad o adrodd, mewn caneuon, y traddodiadau am orchestion eu hynafiaid, ac yn olrhain y rhai hyn yn ol trwy gyfnod o 180 o deyrnasiadau neu freninoedd (wrth roi 12 mlynedd i bob teyrnasiad, gwnai hyn 2160 o flynyddoedd); desgrifiant hwy fel yn dylifo yn lluoedd, mewn llyngesau, o bwyntiau deheuol Asia Ddwyreiniol, gan grybwyll yn neillduol oror Malay, ac oddiyno yn mlaen heibio i bwyntiau deheuol Japan, gan roddi enwau y penarthoedd fel yr enwir hwynt gan y mordwywyr Dutchaidd boreuaf, nes cyrhaedd goror America ar diriogaeth Oregon neu Columbia; oddiyno, gan fyned lawr ar hyd goror gorllewinol America i'r rhaniad tropicawl o hono, dychwelent adref trwy yr ynysoedd yn y Mor Tawel Gogleddol, gan roddi i rai o honynt yr enwau a elwir arnynt yn y dyddiau hyn. Oddiwrth hyn fe welwn pa fodd y gallai America gael ei phoblogi o Asia, ac hefyd pa fodd y gallai arferion Asiaidd, a phobl fel Asiäaid, fod ynddi.

Yn awr, trwy fod y genedl Seisnigaidd wedi ymsefydlu a chael awdurdod yn y rhanau mwyaf canolbarthol o'r cyfandir Americanaidd, gallwn ddysgwyl yn fuan am wybodaeth o ddarganfyddiadau pwysfawr ereill, y rhai a fyddant yn foddion i gyssylltu trigolion yr Hen Fyd wrth eiddo y Newydd."

---

[Mae drychfeddyliau y dysgedig o'r diwedd wedi dyfod i ganolbwynt. Y mae darganfyddiad diweddar Stephens yn America Canolbarthol o arwydd-luniau Aifftaidd, rhifedi mawr o ba rai a roddodd yn ei ddarluniau, ac wedi eu cyhoeddi yn ei lyfr medrus ynghylch y parth hwnw, ynghyd â'r darganfyddiad diweddarach o lawer o filoedd o gyrff perarogledig yn ogofeydd Mexico, tebyg i eiddo yr Aifft gyntefig, yn dystiolaethau mor gadarnhaol o fod America gynt wedi cael ei phoblogi gan genedloedd mwyaf gwareiddiedig Asia, nes mae y dysgedig o'r diwedd yn cael eu hargyhoeddi o'r ffaith. Mae yr annysgedig, pa fodd bynag, wedi cael y blaen ar y dysgedig y tro hwn, canys y maent hwy wedi ei gael allan er ys pedair ar bymtheg o flynyddoedd yn ol, trwy gyfrwng Llyfr Mormon. Dywed Moroni, yr hwn oedd yn byw oddeutu pedair canrif ar ddeg yn ol, wrth ddiweddu hanes ei genedl, fel hyn (tud. 580):—"Yn awr, wele, ysgrifenasom y cof-lyfr hwn, yn ol ein gwybodaeth, yn yr arwyddion a elwir yn ein plith ni yn rai *Aifftaidd diwygiedig*, wedi eu trosglwyddo i wared a'u cyfnewid genym ni, yn ol ein dull o lefaru." Mae Joseph Smith wedi rhoddi i ni hanes America gyntefig, wedi ei gyfieithu o *arwydd-luniau Aiphtaidd*, yn dangos fod America wedi ei phoblogi gan drefedigaethau allan o un o'r cenedloedd goleuaf yn Asia, ïe, o Jerusalem, cenedl o Israeliaid, y rhai oeddynt ddigon cydnabyddus â'r arwydd-luniau Aifftaidd, perarogli cyrff, &c.; oblegid yr oedd eu cyndeidiau wedi bod yn trigo yn yr Aifft dros 400 o flynyddoedd, ac mewn cyfnod hefyd, pan oedd y gelfyddyd o berarogli yn adnabyddus—canys perarogiwyd cyrff Jacob a'i fab Joseph. Nid rhyfedd, ynte, iddynt ddwyn y celfyddydau Aifftaidd hyn i America. Ond bydd i'r henafiaethwyr dysgedig fyfyrio ar ei darganfyddiadau newyddion, ac i dreio cael rhyw wybodaeth am ddechreuad cenedloedd cyntefig y cyfandir dan sylw, tra bydd yr annysgedig yn chwerthin am eu ffolineb yn peidio credu yr hanes syml ac uniongyrchol a gynnwysir yn Llyfr Mormon, ac a gyhoeddwyd flynyddoedd yn ol. Gadawer llonydd iddynt; nis gallant wneyd unrhyw ddarganfyddiadau ond a fyddant yn cadarnhau dwyfoldeb y llyfr gwerthfawr a rhagorol hwnw.—GOL.]

# PROPHWYDOLIAETH CYMRO AM ADFERIAD GWIR GREFYDD YN EIN PLITH.

YR ydym wedi dyfod yn feddiannol ar y ddalen olaf o hen lyfryn Cymreig, yr hwn a gynnwysai wyth tudalen, o waith rhyw Jonathan Hughes. Mae rhywun wedi ysgrifenu "Trefriw, 1805," ar waelod y ddalen; ond meddyliwn ni, oddiwrth yr argraff sydd arno, a'r darlun afluniaidd o ddyn sydd o dan y gair "Terfyn" ar ei ddiwedd, ei fod lawer yn henach. Ond nad beth am hyny, gosodwn gymmaint o hono ag sydd genym o flaen ein darllenwyr, hyd nes y gallwn gael gafael arno i gyd, gan ddechreu gyda y ddalen, ar hanner y weledigaeth. Oni bai fod y dernyn hwn genym yn argraffedig, ac yn dwyn profion o henafiaeth, ni anturiem ei gyhoeddi, rhag i'r cyhoedd feddwl am dano fel y meddyliant am Lyfr Mormon; canys mae y naill, fel y llall, yn cyd-dystiolaethu am adferiad gwir grefydd ar y ddaear. Wele yn canlyn gopi cywir o hono, ac wedi ei lythyrenu mor debyg i'r gwreiddiol ag y gallem wneyd:—

"oll a'r gefn tonnau'r Môr, a phob pen Saer Llong oedd yn myned yn ei Lestr ei hun. A phan aethant a'r gefn y môroedd, ystormydd dychrynedig a gyffròdd y Dyfroedd, ac a gasglodd yr holl Lestri at eu gilydd, ar gwynt a yrrodd y naill i guro y llall nes yr aethant yn ddarnau; ie hefyd eu bywyd eu hunain; a phan welais i y terfysg hwn, mi ofnais innau, am fy mywyd mi ffois, ni cheisiais achub gymaint ac un o honynt, ond yn hyttrach mi gofiais y gair a glywswn, Pob un sai ar ei waelod ei hun; ag yn ebrwydd yr oeddwn wedi dyfod i dîr yn ddiangol; A'r Angel ydoedd weithian yn ymddangos i mi, yna fe droes attaf ac a draethodd yn eglur gan fynegi, beth oedd ystyr y weledigaeth hon; A dymma swm ei Dehongliad. Y Môr a welaist yw llygredigaeth y byd hwn; A'r Llongau ysgafn a gweigion iw'r Crefyddau sydd wedi ei Haddurno mewn trefn drwsiadus o ddoethineb ddynol. A'r Seiri yw'r Pregethwyr sy'n ol y cnawd, heb ddeall lleferydd yr Ysbryd glân: ond Duw sydd amyneddgar, hwyrfrydig i lid ac aml ei drugaredd, yn goddef iddynt, o herwydd na ddaeth yr amser etto i ben, eithr mae amser yn agoshau, y pryd yr anfoniff yr Arglwydd weinidogion yr Efengyl, y rhai a bregethant ddirgelwch Teyrnas Nefoedd, ac a eglurhânt i ddynion wirioneddau Duw drwy fywiol ffydd ysprydol; A phan glywir sŵn lleferydd y rhain, y cyfyd cyffro drwy'r holl Deyrnas, ymddadleuon am ysgrythyrau rhwng gwag opiniwnau dynion, a dymma derfysg ystormus a welaist ti ar y môr, y llongau yn curo yn eu gilydd; ond pan Bregethir yr Efengyl yn ei grym a'i Disgleirdeb ysprydol, bydd raid i Broffeswyr gwastad sy'n rhodio yn eu

goleuni eu hunain ddifiannu, o herwydd nid allant wrthwynebu Tystiolaeth y gwir Gristnogion. Hyn oll a draethais allan drwy ddirgelwch gwybodaeth ysprydol.

"JOHNATHAN HUGHES."

Fe wel ein darllenwyr fod y brophwydoliaeth uchod yn cael ei chyflawni yn hollol yn ein plith yn y dyddiau hyn. Onid oes crefydd wedi ei hadferu yn awr, ag y gŵyr holl grefyddwyr y wlad am dani, ei bod yr un fath yn gymhwys, mewn proffes o leiaf, â chrefydd yr apostolion? Onid am gredu fod pob peth a osododd Duw yn yr eglwys ar y cyntaf, i fod ynddi yn awr, y mae'r Saint yn cael eu condemnio? Ai nid am ddweyd fod Duw yn caru ei blant yn awr fel cynt, trwy gyfranu yr un bendithion iddynt, y mae'r byd yn ein casâu? Pe buasai gwir grefydd yn cael ei hadferyd, tybied y dywedid yn dda am dani gan y byd? Ai tybied na fuasai gan y diafol ddoethion crefyddol a gwyneb-hir, i haeru fod gwir grefydd yn y wlad eisoes ganddynt hwy, ac annog y bobl i gredu mai twyllwyr fyddai y lleill? Os myn neb atebion i'r gofyniadau hyn, darllened gyhoeddiadau ei wlad, yfed o ddysgeidiaeth y pwlpudau, a sylwed ar gariad y byd tuag at y parchedigion. Os na foddlonir ef, aed at "ysgubion y byd," ac ymofyned â hwynt; canys yr ysgubion oedd ddoethaf gynt, ac efallai mai hwy sydd ddoethaf etto.

---

## GOLEUNI.

GOLEUNI sydd ddilyniad olynol o ddernynau tra bychain o sylwedd, yn dylifo oddiwrth gorff goleu, megys yr haul, tân, canwyll, &c. Mae y dernynau hyn yn dylifo yn mhob cyfeiriad, heb rwystro y naill y llall; ac hefyd mewn llinellau uniawn, os nid plygedig, wrth fyned trwy wahanol gyfrynau; o herwydd y mae goleuni, gan ei fod yn gyfansoddedig o sylwedd, yn ddarostyngedig i dyniad, yr hyn a achosa i'r dernynau hyn wyraw oddiwrth eu huniawn redfa: gelwir hyn yn wrth-doriad, ac iddo y priodolir yr ymddangosiad gwyrgam a thoredig o wrthddrychau, pan eu soddir mewn dwfr. Pren, er enghraifft, ag un hanner iddo mewn dwfr, a ymddengys yn doredig; ac hefyd, y mae gan wrth-doriad y gallu o godi y bodau wybrenol uwchlaw yr awyrgylch, pan y byddont mewn gwirionedd islaw iddo, ac o beri iddynt ymddangos yn uwch yn y ffurfafen nag y maent yn wirioneddol. Mae dernynau goleuni mor fychain, fel y mae rhifedi mawr o honynt yn

gynnwysedig mewn ychydig o le. Cyfrifa Dr. Nieuwentyl (yn ei 'Religious Philosopher') fod, mewn eiliad o amser, y nifer anferth o 418,660,000,000,000,000,000,000,000,000,000,000,000,000 o ddernynau o oleuni yn dylifo oddiwrth ganwyll gynneuedig. Y mae y dernynau hyn mor fân, fel nas gellir eu gwahanu gan ein chwyddwydrau goreu; a phe na fyddent felly, yn lle bod yn ddefnyddiol i ni, amddifadent ni yn fuan o'n golygon, gan y grym a gyfodai oddiwrth eu cyflymdra rhyfeddol, yr hwn a adnabyddir i fod yn fwy nâ 11,500,000 o filltiroedd mewn mynyd.

Pan fyddo y dernynau bychain hyn yn dylifo oddiwrth yr haul, neu oddiwrth ganwyll, ac yn disgyn ar gyrff, a thrwy hyny yn cael eu badlewyrchu i'n llygaid, y maent yn cyffroi ynom y meddylddrych am y peth hwnw, trwy ffurfio ei lun ar y rhwydlen.

Bod pelydrau goleuni yn dylifo yn mhob cyfeiriad oddiwrth wahanol gyrff, heb rwystro y naill y llall, sydd amlwg oddiwrth y prawf canlynol:—Gwnewch dwll bychan mewn llafn teneu o fetel, a gosodwch y llafn yn unionsyth ar fwrdd, a gwynebwch ef â rhes o ganwyllau cynneuedig yn sefyll yn agos i'w gilydd; yna llëwch lèn o bapyr, neu bapyr-fwrdd, ychydig bellder oddiwrth ochr arall y llafn, ac fe ffurfia pelydrau yr holl ganwyllau wrth ddylifo trwy y twll, gynnifer o frychau o oleuni ar y papyr, ag a fyddo o ganwyllau o flaen y llafn; pob brychyn mor eglur a mawr â phe byddai ond un ganwyll yn taflu un brychyn, yr hyn a ddengys nad yw y pelydrau ddim yn rhwystro eu gilydd yn eu symudiadau, er eu bod yn croesi trwy yr un twll.

Y mae goleuni a gwres, mor bell ag y mae'r olaf yn ymddibynu ar belydrau yr haul, yn lleihau mewn cyfartalwch i bellderau y planedau oddiwrth yr haul, ac yn ganlynol mewn cyfartalwch i bellder unrhyw wrthddrych oddiwrth dân neu ganwyll. Er enghraifft, gadewch A, B, C, D, i fod yn bedwar gwrthddrych, wedi eu gosod yn agos i dân neu ganwyll; gadewch A i fod yn ddwy droedfedd oddiwrth y cyfryw; B, bedair troedfedd; C, chwech troedfedd; a D, wyth troedfedd; yna ysgwar eu peilderau gwahanol yw, A 4, B 16, C 36, a D 64; yn ol hyny, y mae A yn meddu pedwar cymmaint o oleuni neu wres â B, naw cymmaint â C, a deg a chwech cymmaint â D; ac, yn y gwrthwyneb, nid oes gan D ond y ddeg-chweched ran o'r goleuni neu y gwres a fedda A, &c. Wrth y rheol hon y terfynir y mesur cyfartal o oleuni neu wres a dderbynia y ddaear, y lleuad, neu y planedau, oddiwrth yr haul.

## DIAREBION.

Y DYN sydd yn berchen ar lawer o gyfoeth, ac yn gwrthod ei fwynhau, sydd yn debyg i asyn yn cario aur ar ei gefn, ond yn bwyta ysgall.

Trwy wadu bai, yr ydys yn ei gyflawni ddwywaith.

Y cyfaill cywir, yn yr ing ei gwelir.

Nis dichon y dyn da fyth fod yn druenus, nâ'r dyn drwg yn ddedwydd.

Y dyn cybyddlyd sydd fel ci yn yr olwyn,—rhostio bwyd i ereill y mae.

Trwy wneyd cam bychan ag arall, yr ydym gwneyd cam mawr â ni ein hunain.

Nid oes gan gelwydd goesau, ond y mae gan athrod adenydd.

Y dyn sydd yn tori ei air, sydd yn cymhell ereill i fod yn anffyddlawn iddo ef.

Ateb arafaidd a droa ymaith lid; ond geiriau sarug a gyffroant ddigofaint.

Yspardyn yn y pen, sydd werth dau yn y sawdl.

Y dyn doeth a ddechreua yn y diwedd; eithr y ffol a ddiwedda yn y dechreu.

Dyn ieuanc esgeulus, a wna hen wr anghenus.

Os na fydd i ti agor y drws i ddiafol, efe a â ymaith.

Yr hwn sydd yn byw iddo ei hunan yn unig, sydd yn annheilwng i fyw.

Yr hwn sydd yn medru goddef y drwg, a mwynhau y da, sydd yn wir ddoeth.

Yr hwn sydd yn amddifad o gywilydd, sydd yn amddifad o gydwybod.

Yr hwn sydd yn peidio rhwystro drygioni, pan allo, sydd yn gyfranog o'r drwg.

Yr hwn sydd yn methu gwybod ei fod yn wan, y mae yn wan mewn gwybodaeth.

Yr hwn sydd yn gwneuthur eilun o'i hunan-les, a wna ferthyr o'i uniondeb.

Mae mwy yn canmawl onestrwydd, nag sydd yn ei arferyd.

Yr hwn sydd yn gwneuthur ei hunan yn asyn, nid oes lle iddo achwyn os bydd i ddynion ei farchogaeth.

Mae yr anffyddiwr yn myned un cam yn mhellach nâ'r cythreuliaid; canys y maent hwy yn credu ac yn crynu.

Y rhagrithiwr a dala deyrnged i Dduw, yn unig er mwyn twyllo dynion.

Gan nad ydwyt yn sicr o un awr, paid cam-dreulio cymmaint â mynyd o'th amser.

Nid yw adfyd yn gwenieithio i neb.

Gofyn i'th logell pa beth a ddylet brynu.

Llid a ddechreua mewn ffolineb, ac a orphena mewn edifeirwch.

Y dyn sydd yn amddifad o rinwedd ei hunan, a genfigena wrth yr hwn sydd yn ei feddu.

Cyfaill ffyddlawn yw meddyginiaeth bywyd, ac y mae ei ragoroldeb yn anmhrisiadwy.

Mae athrodiaeth yn tarddu oddiwrth falchder yn fwy mynych nag oddiwrth falais.

Bydd yn gyfaill i ti dy hun, a bydd ereill yn gyfeillion i ti hefyd.

Na ymddibyna ormod ar yr amser i ddyfod.

Synwyr wedi ei brynu yw y goreu, ond dichon iddo gostio mwy na'i werth.

Trwy feiau ereill, y doeth a ddiwygia ei feiau ei hunan.

---

## AMMODAU Y NEFOEDD.

AMMODAU y Nefoedd ar gyhoedd a gewch:—
Peth cyntaf yw credu yn Iesu a wnewch;
Yn ail, edifeirwch—nid tristwch didrai;
Y trydydd yw bedydd, er maddeu pob bai.
Henuriaid yr eglwys arddodant ddwy law,
Er derbyn yr Ysbryd, un hyfryd pan ddaw;
Ac yna cyflawniad pob ammod a fydd,
Ond para yn ffyddlon tra paro eich dydd.

ISAAC REES.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR DDINBYCH.

Y GYMMANFA gyntaf yn Ngogledd Cymru a gynnaliwyd yn Newmarket, ar yr 21ain o Ionawr diweddaf. Wedi agor y cyfarfod boreuol gan John Parry, Ieu., dewiswyd Abel Evans i lywyddu, yr hwn a hysbysodd i'r Saint yr hyn a gymmerodd le yn Nghymmanfa Merthyr,—sef fod John Parry, Ieu., i fod yn Llywydd y Gynnadledd, a Joseph Evans a David Williams yn gynghorwyr

iddo; a bod dwy gangen wedi eu sefydlu—un yn Abergele, a John Parry i'w llywyddu, a'r llall yn Eglwysfach, a Joseph Evans i'w llywyddu. Cymmeradwywyd y cyfan yn unfrydol.

Wedi hyny anerchwyd y Saint gan John Parry, gan hysbysu ei ddiolchgarwch i Dduw, ac i'r Saint, am ei gymmeradwyaeth i'r swydd anrhydeddus a ymddiriedwyd iddo, a'i benderfyniad i'w mawrhau, trwy nerth Duw a gweddiau y Saint.

Yna cynnrychiolwyd Cangenau Newmarket, Abergele, ac Eglwys-fach; rhif yr aelodau yw 57, yn cynnwys tri henuriad, tri offeiriad, a thri athraw; oll mewn sefyllfa dda. Galwyd dau henuriad, pedwar offeiriad, tri athraw, a thri diacon. Neillduwyd Robert Parry i fod yn llywydd ar gangen Newmarket.

Agorwyd y cyfarfod am ddau trwy ganu a gweddio; ac wedi tori bara, &c., ordeiniwyd y swyddogion a alwyd. Yna anerchwyd y swyddogion ieuainc a'r Saint gan y brawd Abel Evans, trwy gynghorion ac addysgiadau tra buddiol, gan ddangos iddynt eu dyledswydd tuag at Dduw a'u cyd-ddynion.

Yn yr hwyr, anerchwyd y cyfarfod gan amryw henuriaid, a chawson gyfran helaeth o Ysbryd Duw ar hyd y dydd.

A. Evans, Llywydd,
W. Parry, Ysgrifenydd.

---

## CAPEL Y SAINT, LLANELLI.

Agorwyd y capel uchod at wasanaeth y Saint yn Llanelli, sir Gaerfyrddin, ar yr 28ain a'r 29ain o Ionawr diweddaf. Cafodd ei adeiladu o herwydd nad oedd un lle cyfleus arall yn y dref, lle gallai y Saint ymgyfarfod, ac y gallent wahodd ei cyfeillion o'r byd i wrandaw eu hathrawiaeth. Ar yr achlysur uchod, bu Capt. Jones, Wm. Phillips, ac ereill, yn areithio ar wahanol bynciau eu crefydd. Dangosid cryn gyffroad nos Sul, pan y gwahoddai Capt. Jones ei frodyr a'i chwiorydd i ddyfod allan o Babilon, yn ol galwad Duw yn yr oes hon, a phan y darluniai pwy oedd Babilon y dyddiau diweddaf. O'r tu allan yn unig oedd y cyffro; gwrandawai pawb yn astud y tufewn. Yr oedd y gwahanol gyfarfodydd yn orlawn o Saint a gwrandawwyr ereill; ac felly y dywedir wrthym y mae yn parhau braidd bob Sabboth oddiar hyny. Ofnwn, gan hyny, y bydd raid ei helaethu yn fuan, neu gael rhyw le arall yn y dref. Esgynlawr, ac nid pwlpud, fel eiddo capeli y wlad, sydd yn y capel hwn, ac y mae lle arno i lawer o bregethwyr i eistedd, a lle uwch i'r llefarwr. Nid yw capel, gan

y Saint, mewn un modd yn cael ei ystyried yn dŷ i Dduw, ond yn unig yn dŷ iddynt eu hunain; canys ni all un fod yn dŷ i Dduw, heb ei fod ef wedi rhoddi gorchymyn i'w adeiladu, fel y deml gynt yn Jerusalem. Fe fydd y deml yn mynydd Seion yn dŷ iddo, o herwydd y mae wedi rhoi gorchymyn i'w hadeiladu yn y dyddiau diweddaf hyn.

---

## LLYTHYR AT Y LLYWYDD W. PHILLIPS.

Anwyl Frawd,—Y mae yn hoff, ac yn llawenydd genyf, i'ch hysbysu fod yr holl Saint yn Nghynnadledd Mynwy, wedi deisyf arnaf i anfon atoch trwy lythyr, eu bod oll yn talu eu gwresocaf ddiolchgarwch i chwi am eich gwasanaeth a'ch gweinidogaeth ddiwyd a ffyddlawn yr amser a aeth heibio; ac y maent yn mawr lawenhau yn yr hyn ag y maent wedi ei fwynhau trwoch. Ac er i mi chwilio yn fanwl yn mhlith yr holl Saint yn y gynnadledd hon, ni chefais gymmaint ag un yn dwyn un achwyniad yn eich erbyn, o'ch bod yn ormesol, nac yn ddim a'r sydd yn ddrwg, ond yn llawn o ffydd, ac yn ysbryd eich swydd bob amser, nes eu bod yn llamu o lawenydd bob tro pan ag y byddech yn ymweled â hwynt. Mae eu dymuniad a'u gweddi ar i'r Duw hwnw a'ch cynnaliodd i lenwi eich cylch blaenorol mor ffyddlawn, i barhau yn ei ddaioni a'i râs, trwy eich cynnal yn yr un presennol, er gogoniant idd ei enw mawr.

Eich ufydd a'ch gostyngedig was yn Nghrist,

Thos. Giles, Llywydd y Gynnadledd.

---

## AMRYWIAETHAU.

Yr holl Wythnos yn Sabboth.—Neillduir y dyddiau canlynol o'r wythnos at addoliad cyhoeddus gan wahanol genedloedd:—Dydd Sul, neu Ddydd yr Arglwydd, gan Gristionogion; dydd Llun, gan y Groegiaid; dydd Mawrth, gan y Persiaid; dydd Mercher, gan yr Assyriaid; dydd Iau, gan yr Aifftiaid; dydd Gwener, gan y Twrciaid; a dydd Sadwrn, gan yr Iuddewon.

### BEDD-ARGRAFF BABAN.

Oes fèr mewn byd i hon a fu;<br>
O'i dda na'i ddrwg nis profodd hi:<br>
Heb gario croes, caiff ddedwydd fyw,<br>
Can's deiliad teyrnas nefoedd yw.

YMRYSONAU.—Yn y rhan fwyaf o ymrysonau y mae bai ar bob ochr. Gellir cymharu ymryson i wreichionen, yr hon ni chynneuir heb gallestr, yn gystal â dûr; ond goddef pren i'r naill neu y llall bwnio arno am byth, heb ddangos dim tân.

TEILWNG O SYLW.—Pan y cewch afael ar ddyn coch yn ffyddlawn, dyn tàl yn ddoeth, dyn tew yn gyflym o draed, dyn teneu yn ffol, dyn prydweddol heb fod yn falch, dyn tlawd heb fod yn genfigenus, cnaf heb fod yn gelwyddog, dyn onest heb fod yn rhy ddifater am ei golled, dyn yn llusgo wrth siarad heb fod yn gyfrwys a thwyllodrus, dyn yn winoio ar arall heb fod yn ddichellgar a gau, dyn gwargrwm heb fod yn hunanol, morwr a chrogwr yn dosturiol, dyn tlawd yn adeiladu eglwysi, crach-feddyg â chydwybod dda, ceisbwl heb fod yn filain annhrugarog, lletty-wraig heb orbrisio, a llogwr yn haelionus;—yna dywedwch eich bod wedi cael allan ryfeddod, dynion yn gweithredu yn groes i gwrs cyffredin natur.—*Aristotle.*

A OES "DOETHINEB MEWN WIG?"—Rhyw wneuthurwr wigiau, er tynu sylw y cyhoedd at ei siop, a osododd ddarlun hardd uwchben ei ddrws, yn arddangos Absolom yn crogi gerfydd ei wallt, ac odditano y pennill hwn:—

"Ow! Absolom gwelwch—wrth ei wallt yr hongiana!
Pe gwisgai ef ffugwallt, ni fuasai'r fan yna."

Ond, rhyw eilliwr gerllaw, rhag cael ei faeddu gan ei gymmydog, a osododd ddarlun i'r làn hefyd, yn desgrifio dyn yn boddi, yr hwn a allasai fod wedi ei achub gan ddyn arall a gydiai yn ei wallt, oni buasai i'w wig ddyfod yn rhydd. O dan y llun yr oedd y geiriau hyn:—

"Pe gwallt ei hun wisgai, a thalu am ei gneifio,
Ni wnelsai byth foddi, ond ffugwallt oedd ganddo."

DIOD GADARN.—"Camsynied mawr," meddai Charles o'r Bala, "ydyw meddwl fod diod gadarn yn cryfâu dynion, ac yn eu haddasu at waith trwm; yn hollol i'r gwrthwyneb, mae yn gwanhau ac yn llesghau natur yn fawr. Mae pob peth ag sydd yn poethi y gwaed yn ormodol, yn gyfatebol yn gwanhau y nerth. Mae y dynion na phrofasant ddiod gadarn erioed, yn gallu myned yn esmwyth trwy fwy o lafur nag ereill, ac yn gyffredin yn byw yn hwy ac yn fwy cysurus."

### CYHOEDD AC ANGHYHOEDD.

Os cyhoedd a chwennychwch fod,
Heb adwaen nemawr is y rhod,
  Mewn pentref gwnewch eich lle;
Ac os am 'nabod dirfawr lu,
Heb nemawr yn eich adwaen chwi,
  Gwnewch fyw mewn caer neu dre'.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, CAERFYRDDIN.

RHIF. 3.

" DEUWCH ALLAN O HONI HI, (SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. I.] MAWRTH, 1849. [PRIS 2*g*.

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1849.

☞ Dylai pob Llywydd ddarllen yr UDGORN drosto y peth cyntaf wedi ei dderbyn, fel y gwybyddo yr hyn sydd yn perthyn iddo ef, fel na fyddo yn dweyd wed'yn ei fod yn anwybodus o rywbeth oedd ynddo.

☞ Yr ydym yn danfon ein biliau chwarterol i'n Prif Ddosparthwyr gyda y Rhifyn hwn, gan ymddiried yn eu ffyddlondeb i gyflawni eu haddewidion, fel y gallom ni dalu ein ffordd i bawb, a gwasanaethu ein cenedl yn ofn Duw.

☞ Dymunwn alw sylw holl Lywyddion y Cynnadleddau, a Llywyddion y Cangenau yn Morganwg, at eu penderfyniad yn Nghymmanfa Morganwg (gwel UDGORN, tud. 20), mewn perthynas i gynnaliaeth y Prif Gynghor, lle mae cymmaint o ddyeithriaid yn galw, yr hyn, yngbyd â lliosogrwydd teulu y brawd Phillips, a wna y draul yn fawr. Cynghor diweddaf ein hanwyl Gapt. Jones, oedd gosod hyn etto o flaen y brodyr.

☞ O herwydd fod dau sypyn o'r "Stars," a llyfrau Saesneg ereill, wedi myned yn eu hol o Ferthyr heb yn wybod i ni, crefwn y cymmera ein derbynwyr ran o'n hamynedd, hyd nes y ceir gafael arnynt.

☞ Gwell i'n cyfeillion prydyddol rigymu ynghylch "amynedd Job," hyd nes y delont oll yn ddigon amyneddgar i sefyll o flaen brawdlys Golygydd; canys dedfryda hwnw un dernyn i chwech mis o garchar, ac un arall i flwyddyn; dedfryda lawer i'w tor-fynyglu, ond y mwyrif i'w llosgi. Mae ein llys ninnau yn bresennol yn llawn o garcharorion prydyddol, yn derbyn eu dedfryd. Cynghorwn bob un i beidio dyfod o'n blaen etto yn rhy *hir* ei dafod, ac â gormodedd o eiriau *waste*.

☞ Pa wahaniaeth i "Tomos," na ninnau, os yw y Parch. J. T. Jones, Caerfyrddin, wedi argraffu baledi yn erbyn y Saint, heb osod ei enw wrthynt. Mae yn wir fod dirwy am hyny, ond nid gwaith Saint, gobeithiwn, yw hysbysu yr awdurdodau. Nid oedd cywilydd yn y byd ar y Parch. Evan Griffiths, Abertawy, weled ei enw wrth gân arall yn erbyn y Saint; ac nis gwyddom ni paham y cywilyddia parchedigion adnabyddus i ni osod eu henwau fel awdwyr i ganeuon campus fel hyn.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 3.] MAWRTH, 1849. [CYF. I.

## GWR CLOFF Y DEML.

MAWR mor enwog y mae'r hen wr cloff hyny a eisteddai wrth borth y deml, wedi myned yn y dyddiau hyn. Crybwyllir am dano yn mhob dadl ynghylch ffydd. Gosodir ef allan yn ddyn ffyddiog iawn mewn arian, ond nid mewn dim arall. Yr oedd mor ddiffydd â mynydd i dderbyn iechyd, os credwn yr hyn a ddyweda yr anwybodus. Mae yn rhesymol fod ganddo ffydd i dderbyn arian, onide ni arosai wrth borth y deml i'r dyben hyny; ond y cwestiwn yw, a oedd ganddo ffydd i dderbyn *iechyd*? Gofynwch i holl ddysgedigion yr oes, a dywedant, "Nac oedd." Eithr ymddengys fod Pedr, gydag Ioan, pan yn "dal sylw arno," ac yn gorchymyn iddo, "Edrych arnom ni," yn meddwl fod ganddo rywbeth heblaw ffydd arianog, oblegid nid oedd eisieu dal fawr sylw ar hono, am ei bod mor amlwg yn mhawb. Heblaw hyny, mae yn rhesymol i farnu fod cymmaint o gymhwysderau yn ngwr cloff y deml i dderbyn iechyd, ag oedd yn y gwr cloff arall o Lystra (Act. xiv, 9) i dderbyn yr unrhyw. Wedi i Paul "edrych yn GRAFF" ar yr olaf, fe welodd "fod ganddo ffydd i dderbyn iechyd," a dywedodd wrtho, "Saf ar dy draed yn uniawn." Felly Pedr yn mhorth y deml; wedi dal sylw neillduol ar y cloff arall, a chael cyfle i weled beth oedd ganddo, beiddiodd ddywedyd wrtho am gyfodi yn enw Iesu o Nazareth. Paham y sylwai y ddau apostol mor neillduol, a dim ond Paul â dyben yn hyny? a pha fodd yr anturiai un apostol, yn fwy nâ'r llall, i iachâu eu cloffion, heb eu bod, trwy y ddawn o "wahaniaeth ysbrydoedd,"

yn gweled fod ffydd ganddynt? Trwy ffydd yn enw Iesu Grist yr iachäwyd y ddau; ond os mai y cloff o Lystra yn unig a feddiannai ffydd, pa ragoriaeth oedd hyny iddo ef, os oedd y llall yn derbyn bendith heb ffydd? Os oedd dynion galluog i weithredu ffydd, yn derbyn iechyd hebddi, paham y dywedodd ein Harglwydd wrth dad y bachgenyn mud a byddar, "Os gelli di gredu, pob peth a all fod i'r neb a gredo?" (Marc ix, 23). Y mae yn groes i reswm ac ysgrythyr i farnu nad oedd ffydd gan wr cloff y deml; o herwydd mae yr iechyd a dderbyniodd yn profi i'r apostol gael ei foddloni ynghylch ei ffydd, onide ni fuasai Duw yn ei fendithio, "canys heb ffydd anmhosibl yw rhyngu ei fodd Ef." Os caniatëir mai yn ol ei ffydd y mae pob un yn derbyn, fe gredir fod ffydd hefyd gan y gwr cloff; ac os na allwn gredu hyny, fe'n "dychwelir fel tòn y môr," a hyny yn gyfiawn, am ryfygu cymmeryd dystawrwydd un rhan o ysgrythyr, i wrthwynebu pendantrwydd rhan arall. Henffych i'r amser pan gaiff hen wr cloff y deml ddangos ei hunan etto o flaen y rhai a wadant ei ffydd yn y dyddiau hyn, fel y canfyddont fod Crist yn un air bob amser.

---

## "LLEF O'R DDINAS SANTAIDD.—AIL ADEILADU TEML SOLOMON.—GALWAD AR I BOBL DDUW DDYCHWELYD I JERUSALEM."

DYWEDA golygydd y *New York Herald*:—"Derbyniasom gyda yr agerlong ddiweddaraf o Loegr, gopi o Anerchiad anarferol, yr hwn a gyhoeddwyd gan yr Iuddewon ag sydd yn trigo yn Jerusalem, at holl had Abraham hyd derfynau y ddaear. Cyfansoddwyd ef yn Hebraeg bur, ynghyd â chyfieithad Saesneg o hono, yr hwn a gyhoeddwn fel mater ag sydd yn deilwng o sylw difrifolaf pobl y wlad hon."

(YR ANERCHIAD.)

"At ein brodyr yr Israeliaid yn Ewrop ac America—haelionus a charuaidd gyfranwyr at bob achos duwiol a daionus—parod i sefyll yn yr adwy i arddangos eu cariad at wlad yr addewid; at ewyllyswyr da Jerusalem a chyfeillion Seion (anwylach genym nâ'n heinioes), y rhai ydynt yn cynnorthwyo y ddinas santaidd

hon, ac yn cyssegru eu meddiannau o gariad a serch, 'i dosturio wrth ei meini, ac i drugarhau wrth eu llwch;' at y dysgedig a'r hybarch Rabbiniaid, at eu teilwng ac enwog drethwyr; at ddyledog dywysogion a ffyddlon flaenoriaid Israel; at holl gynnulleidfaoedd duwiol yr Arglwydd, ac at bob aelod o honynt—iechyd, einioes, a llwyddiant. Estyned yr Arglwydd ei nodded iddynt. Gorfoleddant a byddant dra llawen, ac a'u llygaid eu hunain bydded iddynt weled pan adfero yr Arglwydd Seion. Hyn a fyddo ei ewyllys rasol. Amen

"Y mae yn ffaith bur adnabyddus drwy Juda ac Israel, fod 'y gogoniant wedi llwyr ymadael oddiwrth ferch Seion,' er ys rhagor na chan mlynedd bellach; trwy drais amddifadwyd cynnulleidfaoedd Iuddewig Germanaidd o'u cartrefleoedd a'u hetifeddiaethau. Gormes greulon a'u malodd hyd y llwch, ac a'u gorfododd i ymadael o'u trigfanau, i droi eu cefnau ar eu tai a'u heiddo, ac i ymchwilio am ddiangfa trwy ffoedigaeth. O herwydd hyn mae y cyntedd mawr a roddodd ein henafiaid i ni, wedi bod yn anrheithiedig ac anghyfannedd, hyd oni feddiannwyd ef gan estroniaid. Yr adeiladau cyssegredig a gynnwysai, sef y synagog a'r Medrash, a anrheithiasant hwy, a'n holl feddiannau a lwyr-ddyfethwyd, a'n hetifeddiaethau cyfreithlawn ni a halogwyd o flaen ein llygaid. Yna gwrthododd ein heneidiau eu cysuro! canys pa fodd yr edrychem ar y drygfyd mawr a ddaeth ar ein pobl? Megys y tardda goleuni oddiwrth belydr, felly ein cynnulleidfa a ymorolasant i ddychwelyd, etto i adgyweirio eu sefydliadau, ac i wreiddio yn y mynydd santaidd. Eithr nid oedd gorphwysfa i'n traed lluddedig—dim man wedi ei ddewis a'i gyssegru i weddio a chynghori. Ein llygaid blinedig a ganfyddent yma rai o bob cenedl a thafodiaith, hyd y nod o ynysoedd pellaf y môr, yn meddu anneddau ac adeiladau gwych, wedi eu hamddiffyn gan furiau, dorau, a thyrau, pan y mae pobl yr Arglwydd wedi eu halltudio o'u hetifeddiaethau gan farbariaid ysglyfaethus, ac wedi eu hamdoi â malldod, gwaradwydd, a chywilydd Derchafodd gwaedd y bobl at yr Arglwydd, yr hwn sydd yn trigo yn Seion. Efe a edrychodd i wared yn dosturiol ar eu hadfyd a'u gormes. Ac er pan feddiannodd llywydd yr Aifft gyntaf lywodraeth y wlad santaidd—llywydd ag sydd yn gweinyddu cyfiawnder drwy ei holl diriogaethau—cyhoeddwyd deddf yn caniatâu i'r Iuddewon wneuthur yr hyn a ewyllysient o barthed i adgyweirio eu synagogau a'u hathrofeydd adfeiliedig. Am danom ninnau hefyd, gwelodd

yr Arglwydd yn dda i gofio yn drugarog, gan beri i ni gael ein hadferu drachefn i etifeddiaeth ein tadau, ie, hyd y nod i'r cyntedd rhag-grybwylledig, yr hwn a elwir Adfeiliad R. Jehudah y duwiolfrydig (bendigedig fo ei goffadwriaeth). Bendigedig fyddo yr Arglwydd ein Duw, Duw ein tadau, yr hwn a gynhyrfodd galon llywydd yr Aifft i adferyd yn ol i ni etifeddiaeth ein henafiaid; ac nid oedasom gan golli amser yn y mater, ond a ymegniasom i adeiladu Jerusalem. 'Cloddiasom hi, ac a gasglasom ei meini;' a'r gorchwyl cyssegredig a lwyddodd yn ein dwylaw, hyd nes yr ydym wedi cwblhau y Medrash, 'a mawr yw gogoniant y tŷ; adeiladasom hefyd anneddau i ddysgawdwyr y gyfraith; a lluestai i estroniaid, pa rai oeddynt yn anhebgorol angenrheidiol er lletya y lluoedd o Israeliaid a ymwelent â'r ddinas santaidd yn ystod y gwyliau. Ac ar Rosh Hodesh Shebath ddiweddaf, cawsom y llawenydd o osod y Sepher Torah yn y Medrash, yr hwn a gyssegrasom dan yr enw o 'Meirahem Seion,' canys gweloddd yr Arglwydd yn dda gysuro ei bobl. Ond, er ein bod ni, drwy fendith rhagluniaeth, wedi adgyweirio fel hyn, ran o'r etifeddiaethau hyny â pha rai yr anrhegodd ein henafiaid duwiolfrydig nyni, etto ein calonau a drallodir, a'n llygaid a ballant, pan yn syllu ar gyssegr yr Arglwydd, y synagog, yr hwn sydd yn garnedd, ac nid ydym ni (y gynnulleidfa Germanaidd) yn alluog i'w ail adeiladu; canys, och, aml yw ein tlodion, pa rai sydd eisieu bara, a mawr yw'r ddyled sydd arnom wrth adeiladu y Medrash, ac y mae yn pwyso yn drwm arnom. Felly, y mae yr achos o'n trallod beunydd yn syllu yn ein gwynebau; mae adfeiliadau y synagog yn bentwr yn nghanol y cyntedd, a chwŷn halogedig yn gorchuddio y garnedd gyssegredig. O ganlyniad, ystyriwn yn ddyledus arbenig arnom i anfon cenadydd at ein brodyr plant yr Israel, pa rai ydynt yn wasgaredig, ac mewn alltudiaeth, i'r dyben o'u hysbysu fod iachawdwriaeth yr Arglwydd yn ei wlad,' fel yr ymgyfodont ac y tosturiont wrth Seion, canys daeth yr amser i drugarhau wrthi hi. Er cyflawni y genadwriaeth lafurus hon, cynnygodd ein hanwylaidd gyfaill, yr enwog a'r hybarch rabbi, y selog a'r anrhydeddus Aaron Selig Ashkenasi, ei wasanaeth. Mae efe yn wr cadarn yn ofn yr Arglwydd, o achau ffyddlawn; ac efe a anfonwn fel ein cenadydd, teilwng o bob ymddiried, i anerch holl gynnulleidfaoedd Israel, '*yn ol y* WELEDIGAETH, *yr hon a welodd efe yn y mynydd santaidd;*' ac iddo ef rhoddasom lythyrau awdurdodol, yn cynnwys manylrwydd o

barthed i'w genadiaeth dduwiol, ac hefyd pob gwybodaeth angenrheidiol a berthyna iddi.

"'Yn awr, gan hyny, gweled y cyfiawn a llawenhaed; gorfoledded ac ymffrostied y duwiol â llawenydd; canys y dedwydd ddydd ag y buoch yn dysgwyl cyhyd am dano, o'r diwedd a ddaeth, a chwychwi a'i gwelwch. Coron santeiddrwydd etto a addurna ei thrigle gyntefig. Yna, cyfodwch, a chymmerwch arnoch eich hunain, yn ol geiriau y llythyr hwn, i gyssegru cyfran o'ch golud yn anrheg gyssegredig er cynnorthwyo i adeiladu 'teml y Goruchaf Frenin ar fynydd yr Arglwydd,' fel y caffoch enw a chyfran yn nghroniclau y cyfiawn yn Jerusalem. Na wrthoded un o honoch ei gynnorthwy, ond cyfraned y tlawd ei hatling drosto ei hun a'i deulu yn ewyllysgar, a rhodded y cyfoethog o'i olud, a'r hwn y bendithiodd yr Arglwydd ef. Cyfoded y tadau a'u plant, yr hen a'r ieuanc yr un wedd, i drugarhau wrth Seion yn y tymmor manteisiol hwn; annoged pob gwr ei gyfaill, gan ddywedyd, 'Nyni a fyddwn selog ac ymegniol o blaid ein pobl, a thros ddinas ein Duw' Ac o gariad at Seion, ac er mwyn Jerusalem, ni orphwyswn, ac ni fyddwn foddlawn hyd nes y canmolir Jerusalem drwy'r holl ddaear, ac y bydd flaenaf yn ein gorfoledd, megys ag yr addunedasom. 'Os anghofiaf Jerusalem, anghofied fy neheulaw ei chadernid; oni ddewisaf di Jerusalem, goruwch fy holl lawenydd?' Dyma yw geiriau eich brodyr, y rhai a'ch cyfarchant er mwyn gogoniant yr Arglwydd, ac er clod i'w dir, ei bobl a'i etifeddiaeth, gan weddio beunydd dros ein brodyr alltudiedig, gan aberthu ein gweddiau ar le santaidd, yn enwedigol yn agos i'r muriau gorllewinol, fel y byddo yn dda gyda chwi yn dragywyddol, megys ag yr ydych chwi eich hunain yn ewyllysio, ac fel yr ydym ninnau yn taer ddymuno. Ardystiwyd yn Jerusalem y 18fed dydd o'r flwyddyn 5597, A.M., gan Wardeniaid y Medrash ac aelodau cyfeisteddfod yr adeiladu, dros gynnulleidfa yr Iuddewon Germanaidd yn y ddinas santaidd. (Arwyddwyd) Hirsh Joseph, David Reuben, Nathan Loadis, Abraham S. Salmons, Mordecai Avigdor, Uriah S. Hyam.

"Tystiwn ni ag sydd a'n henwau isod, trethwyr y Bethdin, drwy orchymyn y Parchedig brif Rabbi, fod y Parch. Aaron Selig Ashkenasi wedi ei awdurdodi i gyflawni yr hyn a gyfeirir ato yn yr anerchiad uchod. Llundain, y Sebath, Rhag. 24, 5599. Israel Levy, Aaron Levy, A. L. Barnett."

[Mae yr Anerchiad blaenorol yn llefaru pethau mawrion, ac yn dangos fod yr Iuddewon yn parotôi i ymgasglu i Jerusalem, erbyn y delo cyflawnder y cenedloedd i mewn. Y "weledigaeth" a gafodd Aaron Selig Ashkenasi yn y mynydd santaidd, a gydgordia yn hynod â'r hyn a brophwydodd Zechariah (ii, 4), sef, "Rhed, llefara wrth y llanc hwn, gan ddywedyd, Jerusalem a gyfanneddir fel maes-drefi, rhag amled dyn ac anifail o'i mewn." Mae yn rhesymol fod yr Iuddewon, yn gystal â'r Cenedloedd, yn derbyn dadguddiad oddiwrth Dduw, fel y byddo'r parotoadau angenrheidiol yn cael eu gwneyd erbyn dyfodiad y Messiah i'w gwaredu.—GOL.]

---

## DWYFOLDEB LLYFR MORMON YN CAEL EI WIRIO YN MHELLACH.

"YUCATAN.—Mae Yucatan yn fedd i genedl fawr ag sydd wedi diflanu yn ddiarwybod, ac heb adael unrhyw hanes ar ei hol. Y mae pob coedwig yn mynwesu gweddillion mawreddog o demlau mawrion, wedi eu cerfio drostynt ag arwydd-luniau ffydd ymadawedig, ynghyd â dinasoedd ardderchog, palasau gwych a charneddi pa rai, yn eu hunigedd galarus, a ardystiant ardderchogrwydd medr eu hadeiladwyr. Maent yn feddrodau i genedl ardderchog, ond heb ddwyn un enw na beddargraff. Y braw neillduol gyda pha un y cilia yr Indiad oddiwrthynt, pan yn adrodd rhyw draddodiad cymmysgedig o ddiddymiad corff cyfan o bobl trwy waed a thân, gan ei gyndeidiau—cenedl ffyrnigaidd ac ysglyfaethgar, yn ymhyfrydu mewn aberthau dynol—yw y cyfan a eill dychymmyg ddweyd am y modd y cafodd trigianwyr cyntefig Yucatan, eu croesi allan, yn un cyfangorff, o ddalen bodoliaeth. Arosodd y dinystrwyr barbaraidd yn feistri y wlad, ac a adeiladasant iddynt eu hunain luesttai trwsgl o dan gysgod yr adeiladau dirfawr ag sydd hyd yn hyn yn ryfeddod a dirgelwch yn Yucatan. Ar lawer o'r adeiladau hynod hyn y mae argraff gwaedgoch o law ddynol wedi ei stampio, yr hwn sydd yn arwyddlun addas i ddangos y lywodraeth waedlyd i ba un y bu mor gysson yn ysglyfaeth. Argreffid y 'law waedlyd' hon gyda dyben penodol ar gymmrwd y muriau newyddion, ac arddengys pob llinell a chrymni ynddi mor eglur ag yw yn naturiol, ond mae eglurhad yr arwyddlun yn anadnabyddus."—*O'r New York Sun, Meh.* 8, 1848.

Mae ysgrifenydd y dernyn uchod ynghylch "Yucatan" (yn yr America), yn camsynied yn fawr. Dywed fod "Yucatan yn fedd i genedl fawr ag sydd wedi diflanu yn ddiarwybod, ac *heb adael un hanes ar ei hol.*" Nid felly y mae. Mae y genedl fawr gyntaf a drigent yn Yucatan gynt, wedi diflannu er ys oddeutu

2,440 o flynyddau yn ol; ond eu prophwydi a adawsant hanes ar eu hol, crynodeb o'r hwn sydd wedi ei gyfieithu i'r iaith Saesneg, dan yr enw "Llyfr Ether," a degau o filoedd o gopiau wedi eu cyhoeddi yn Llyfr Mormon, ac wedi eu gwasgaru yn America ac yn Lloegr am flynyddau lawer. Y genedl fawr ddiweddaf a breswylient y wlad hono, ac a ddiflanasent, a adawsant hefyd eu hanes ar ol, yr hwn a ddarganfyddwyd, a gyfieithiwyd, ac a gyhoeddwyd yn yr iaith Saesneg, oddeutu ugain mlynedd yn ol, gan Joseph Smith, yr hwn wedi hyny a ferthyrwyd o achos y gwirionedd, yn lle cael ei wobrwyo gan ddyn am ddadguddio hanes un hanner o'n byd oddiar yr oesoedd boreuaf ar ol y diluw. Ymddengys mai hyn yw tynghed gyffredin dyngarwyr dynolryw. Maent yn byw a marw yn wrthodedig, neu yn cael eu herlid hyd angeu gan eu cydoeswyr, ac ni welir eu gwerth nes yr elont heibio, ac nid bob amser bryd hyny.

Yr ysgrifenydd a gydnabydda ddarganfyddiad "temlau mawrion," "dinasoedd ardderchog," a "phalasau gwych" yn cael eu mynwesu yn "mhob coedwig." Yna mae yn cyfeirio at draddodiad cymmysgedig yr Indiaid, y rhai a ddywedant i'w cyndeidiau hwy ddyfetha cyfangorff o bobl trwy "waed a thân." Meddylia mai hyn "yw y cyfan a eill dychymmyg ddweyd am y modd y cafodd trigianwyr cyntefig Yucatan, eu croesi allan, yn un cyfangorff, o dudalen bodoliaeth."

Mor gywir mae y traddodiad Indiaidd hwn yn cytuno â'r hanes a roddir yn Llyfr Mormon. Dywed Mormon, "i'r Lamaniaid"—cyndeidiau yr Indiaid Americanaidd, yn y fl. 367 ar ol Crist—"gymmeryd meddiant o ddinas Desolation,"—yr hon oedd yn America Canolbarthol, yn agos neu yn Yucatan—"a hyny o herwydd fod eu rhifedi hwy yn fwy na rhifedi y Nephiaid," sef y genedl a breswylient yn ninasoedd Yucatan.—"A hwy"—y Lamaniaid—"a aethant hefyd yn erbyn dinas Teancum, ac a yrasant y trigolion allan o honi, ac a gymmerasant lawer o garcharorion, yn wragedd a phlant, ac *a'u hoffrymasant yn aberthau i'w heilun dduwiau.*" Yn y fl. 375, cymmerwyd rhifedi mawr o wragedd a phlant yn garcharorion, ac aberthwyd hwynt hefyd i eilunod. (Llyfr Mormon, tud. 566 a 567.)

Mae Mormon, yn un o'i epistolau i'w fab Moroni, yn desgrifio eu drygioni mawr a'u tueddiadau ciaidd. Dyweda—

"Mae llawer o garcharorion gan y Lamaniaid, y rhai a gym-

merasant o dwr Sherrizah; ac yr oedd ganddynt wyr, gwragedd, a phlant. A gwyr priod a thadau y gwragedd a'r plant hyny a laddasant; ac ymborthant y gwragedd â chnawd eu gwyr, a'r plant â chnawd eu tadau, ac ni roddant iddynt ddim dwfr, ond rhyw ychydig. Ac er y ffieidd-dra mawr hwn o eiddo y Lamaniaid, nid yw yn fwy nag eiddo pobl ein hunain yn Moriantum. Oblegid, wele, llawer o ferched y Lamaniaid a gymmerasant yn garcharorion; ac ar ol eu hamddifadu o'r hyn oedd fwyaf anwyl a gwerthfawr uwchlaw pob peth, yr hyn yw diweirdeb a rhinwedd; ac ar ol iddynt wneyd hyny, lladdasant hwynt yn y modd mwyaf creulawn, gan boenydio eu cyrff hyd farw; ac ar ol iddynt wneyd felly, ilarpiant eu cnawd fel creaduriaid gwylltion, o herwydd caledwch eu calonau; a gwnant hyny fel arwydd o wroldeb. O, fy anwyl fab, pa fodd y gall pobl fel y rhai hyn, ag sydd heb wareiddiad—(ac ond ychydig flynyddau sydd er pan oeddynt yn bobl foesol ac hyfrydol)—ond, O fy mab, pa fodd y gall pobl fel hyn, y rhai a ymhyfrydant mewn cymmaint o ffieidd dra—pa fodd y gallwn ddysgwyl yr ettyl Duw ei law mewn barn yn ein herbyn? Wele, mae fy nghalon yn gwaeddi gwae uwchben y bobl hyn. Tyred allan mewn barn, O Dduw, a chuddia eu pechodau, a'u drygioni, a'u ffieidd-dra oddiwrth dy wyneb."

Yn y flwyddyn 384, ar ol i drigolion Yucatan ac America Canolbarthol gael eu gyru o'u dinasoedd mawr ac ardderchog, ymlidwyd hwynt gan y Lamaniaid hyd fynydd Cumorah, yn y rhan dufewnol o dalaeth Caerefrog Newydd, lle trengodd yr holl genedl mewn rhyfel. Yn ystod y rhyfeloedd mynych sy'n deillio wrth ddiddymu cenedl fawr, cafodd llawer o drefi, pentrefi, a dinasoedd eu llosgi gan y gorchfygwyr. Dystryw ac anghyfannedd-dra a nodent gamrau y miliynau ymrysongar. Er fod pedair canrif ar ddeg wedi myned heibio, etto mae y ffeithiau hanesyddol hyn yn cael eu cadw yn barhaus yn mynwes yr Indiad. Mae gweithredoedd creulawn eu cyndeidiau—diddymiad cenedl gyfan trwy "dân a gwaed," ac aberthiad miloedd o garcharorion—yn ddygwyddiadau mewn traddodiad Indiaidd ag nad ellir anghofio yn rhwydd. Hawdd y gallai'r genedl orchfygol argraffu ar adeiladau ardderchog eu gelynion, "argraff gwaedgoch o law ddynol!" Yn wir mae hyn yn ymddangos yn arwydd addas o'r rhyfeloedd dychrynllyd a drochodd y tir hwnw yn ngwaed miliynau. Oni buasai fod hanes ffyddlawn Mormon, yr hwn a ysgrifenwyd mewn arwyddluniau Aifftaidd, yn bodoli, arosai hanes yr America gyntefig yn ddirgelwch parhaus i bob cenedlaeth ddyfodol, hyd nes y byddai i filiynau hunedig y cyfandir helaeth hwnw ddryllio eu hen feddau, ac ymddangos gyda'r holl genedloedd ymgynnulledig mewn barn.

## SEION Y DYDDIAU DIWEDDAF.

[TON—" Roslin Castle.]

Mawr yw'r son yma sydd,
Bob rhyw ddydd, am y wlad
Rydd ein Iòr ini'n rhad,
Seion fad ydyw hi:
Adeiladir hon i ni,
Etifeddiaeth wych fydd hi,
Medd Iesu Grist, ein Pen,
Gwir Gadben mawr y llu:
Mawr fydd y pleser braf,
Gawn gan Naf a'i dêr angelion,
Yn gysson nos a dydd,
Heb neb yn brudd eu bron;
Yn ei Seion wiwlon E',
Pawb a edwyn yno'u lle,
Yn eu tre hardd a hyfryd,
Heb ofid nac un ple.

Nefol rin a fwynhawn,
Os parhawn yn y ffydd;
Iesu'n rhad ini rydd
Nerth bob dydd yn ei waith;
Efe'n Frenin grasol fydd,
Yno beunydd er ein budd,
Ysplenydd fydd ei wedd,
Yn llawn o hedd bob dydd:
Cawn iddo ganu'n llon,
Oll o'r bron, er ein braint hoenus,
Yn mhlith y melys gôr,
Tu fewn i ddôr ei lys:
Telynorion hylon gawn,
A cherddorion hyfryd iawn,
Y còr yn llawn fydd beunydd,
Foreuddydd a phrydnawn.

Llew a'r oen yno fydd,
Bob rhyw ddydd yn gytun:
Dim croes ble, cas a llin,
Rhwng dau ddyn yn y lle;

Pob gelyniaeth gwedi ffoi,
A'i hachosydd gwedi 'i roi
Yn rhwym, a'i gloi dan sêl,
Yn dawel heb osgoi;
A ninnau yno fydd,
Er ein braint, mewn mwyniant beunydd
O'r ffrwythydd goreu 'rioed,
A fu'n bod er ein budd:
Ni gawn yno fêl a llaeth,
A gwin hyfryd at ein chwaeth,
A phob rhyw faeth a geisir,
O brysur gan ein bath.

Heblaw hyn, cawn o hyd
Fyw i gyd efo'n Pen,
Mab y dyn, Aer y nen,
Heb un llen rhyngom ni;
Ni gawn hefyd yn ddible,
Gwmni engyl glân y ne',
A llon gerubiaid cu,
I'n lloni yn mhob lle:
Bydd yno deulu llon,
Ofyddion, prydyddion addas,
O urddas, a gwir feirdd,
Ddewrion heirdd, llawn o râs,
Areithwyr gwych nerthol gawn,—
Pob swyddogaeth fydd yn llawn;
A chyfiawn gyfraith rhyddid
Gawn hefyd—hynod iawn!

Anwyl ddyn, tyr'd at Dduw,
Tyr'd a chlyw 'nawr ei lef;
Am dy gael di mae ef
Tua thref cyn bo hir:
Gyfaill, gad hen deulu'r cur,
Allan tyr'd o Babel dir,
Dros foroedd draw yn mhell,
I wlad sydd well yn wir:
O tyr'd o Babilon
I'r wlad hon, os wyt yn credu—
Heb oedi tyr'd i'r wlad
A rydd ein Tad i ni;

Gwaredigaeth odiaeth fydd
Yno i holl deulu'r ffydd;
Ein Llywydd rydd amgeledd,
A phur wledd er ein budd.

Gymro cu, gwrando'm cân,
Tyr'd yn mlaen gyda'r llu,
Tua'r wlad ddedwydd gu,
Sydd i ni idd ei chael:
Oll i Seion wiwlon awn,
Y mae yno roesaw llawn
I'r cyfiawn, ffyddlon rai,
I gael mwynhau ei grawn:
Cawn yno bur fwynhau
Rhyw fôr didrai o wir gariad,
Yn wastad yn y lle,
Mal y ne', lle mae'r Tad:
Bydd tangnefedd, undeb mâd,
A brawdgarwch mewn mwynhad;
Yn wastad ni gawn hefyd,
Bob gwynfyd yn y wlad.

*Trehafod.* JOHN RICHARDS.

---

## CYFARCHIAD OLAF Y SAINT YMFUDOL I CALIFORNIA.

ANWYLAIDD FRODYR A CHWIORYDD,—Gyda thristwch a hiraeth o'r naill du, a mawr lawenydd, cariad, a gobeithion o'r tu arall, yr anfonwn y cyfarchiad olaf hwn atoch chwi ag sydd yn aros ar ein hol yn Babilon. Teimlwn rwymau diddarfod arnom i gydnabod yn ddiolchgar fawr ofal ac amddiffyniad ein Tad nefol drosom hyd yma. Yr ydym ni, 240 o honom, heblaw plant, ar fwrdd y llong "Buena Vista," a 65 o Saint ereill Cymreig, heblaw plant, ar fwrdd y llong "Hartley," wedi trefnu ein holl amgylchiadau mor gysurus ag y gallem ddysgwyl, ac yn bwriadu hwylio ar y cefnfor mawr y fory. Cawsom dywydd hynod o dda i gyrhaedd hyd yma; ac nad faint o beryglon a'n hamgylchynai, nad faint a brophwydwyd am ein drygfyd, ac nad lliosogrwydd y Babiloniaid a geisient ein digaloni, ein camarwain, a'n hyspeilio —diolchwn ni oll heddyw mewn buddugoliaeth, am ddarfod i Dduw roddi i ni arweinydd i'n tywys yn ddiogel drwy'r cyfan,

heb neb wedi ei ddolurio na'i yspeilio o ddim. Llawer a brophwydodd gelynion y gwirionedd am ein hanwyl lywydd, Capt. Jones, yr yspeiliai efe ni o'n harian, ac y gadawai ni yn mhlith estroniaid, ac y gwnai efe rhyw lawer o ddrygau i ni; eithr cyfiawnder i'w gymmeriad ef, cyfiawnder i'r grefydd a broffesa, gogoniant i'r Duw a'i pïa, a'n dyled ninnau, yw tystio i chwi fod ein hanwyl frawd Jones wedi bod, ac yn parhau i fod yn fwy o fendith i ni yn yr amgylchiad presennol nag erioed o'r blaen, ac ni allwn byth ad-dalu digon iddo am ei ofal parhaus drosom, a'i gyfarwyddiadau llesol i ni. Drwyddo ef cawsom longau newydd a chysurus i'n cludo yn rhad. Pris ein cludiad yw £3 12s. 6c. yr un i bob person ag sydd dros 14 mlwydd oed, a £3 yr un i'r rhai sydd o dan yr oedran hwnw, a thros flwydd oed, pan y mae amryw longau ereill yma yn awr yn hwylio i'r un porthladd, yn codi £5 yr un, ac heb yr holl ymborth angheurheidiol; tra o'r ochr arall, cynnwysai yr uchod yr oll o ymborth ag a fydd yn anghen arnom ni: hyn a fu i ni drwy ei ddoethineb a'i ofal tadol ef drosom. Ac nid hyny yn unig, eithr gwyddom ei fod, yn lle twyllo arian y Saint, fel y camgyhudda llawer ef, wedi talu arian mawr ei hunan, er cysuro a chynnorthwyo y lleill; ac hyd yn hyn wedi gwrthod derbyn y tâl lleiaf am hyny, eithr wedi talu i'r geiniog yr un bris a ninnau am ei gludiad yn mhob ystyr. Mewn gair, y mae ei ymddygiad caruaidd a gofalus dros yr oll wedi cylymu serchiadau yr oll yn ddieithriad wrtho â chariad mwyfwy, hyd nes y mae pawb yn hoffi clywed ei lais yn ein plith; a'r gofid mwyaf oll gan y lleill oedd, am na buasai llong ddigon mawr i'w chael i gludo yr oll yn yr un man ag ef.

Anwyl Saint, yr ydym ni oll yn galonog, ac yn gweddio ar i'r Arglwydd grasol agoryd y ffordd ar frys i chwithau ddyfod ar ein hol i Seion. Diau fod Cymru fach fel crochan berwedig gan chwedlau anwireddus am danom, a llawer a brophwydir am ddrylliad ein llong, &c.; eithr gweddiwch chwi drosom, a diogel a fyddwn dan nodded ein Duw; na choeliwch hwynt! Gallwch hefyd amddiffyn ein cymmeriadau ar ein hymadawiad o Babilon, a'n cyfiawnder; canys gwyddoch ddarfod i'n llywydd anwyl gyhoeddi a rhybyddio yn mlaen llaw, na oddefai i neb ddyfod ymaith yn nyled y byd na'r Saint; ac y mae yn bleserus genym ddweyd nad oes neb o honom â chydwybod euog o herwydd hyny, nac wedi gwneyd achos i warthruddo crefydd Iesu Grist; pan, o'r ochr arall, yn hollol groes, ymffrostiai y Babiloniaid o beidio talu

i ni eu dyledion cyfiawn, ac fel pe am ymorchestu i'n hyspeilio o'r oll a allent grafangu, yr hyn, onid edifarhant, a dystia i'w herbyn yn y farn. Buont mor ddrwg, rai o honynt, â dylanwadu ar ein teuluoedd, ïe, gwragedd a phlant anwyl, fel ag i'w dychrynu rhag dod gyda ni! ïe, i wneyd anghydfod rhwng gwr a gwraig—rhwng rhieni a phlant anwyl! Beth a allasent wneyd yn waeth? Mawr fydd eu cyfrif! Etto, diau mai y rhai hyny eu hunain a fyddant uchaf eu llais i gondemnio gwr am adael ei wraig anufydd, anynad, ac annynol ar ol, pan y gwrthodai bob cynnygion i ddod Sicrhawn hyn, nad oes yn ein plith neb o'r cyfryw wyr, a'r nad ynt wedi ymdrechu hyd eithaf eu gallu i gael eu gwragedd gyda hwynt, a'u plant hefyd; ac onid yw cyfreithiau dynol a dwyfol yn sicrhau i'r gwr, fel pen ei deulu, ddewis ei wlad? ac os gwrthodant ei ganlyn, ei wraig neu y plant sydd yn ei adael ef, ac nid efe yn eu gadael hwy!

Taenwyd ystoriau lawer cyn ein cychwyn, fod gwragedd yn myned o anfodd eu gwyr; eithr anwiredd disail yw hyny, nid oes neb o'r cyfryw, a'r a wyddom, yn ein plith, na neb ag sydd wedi gwneyd cam â gwr yn ein plith, na neb ag sydd wedi gwneyd cam â gwr yn ei fater mewn dim, heb gymmodi. Yr oedd cynddaredd ein cydgenedl mor fawr tuag atom cyn cychwyn o Gymru, fel nad allem fwynhau ein hiawnderau gwladwriaethol yn un man braidd; ac y mae yn ddigon gwir fod bywyd ein hanwyl frawd Capt. Jones yn y fath berygl, fel yr ymosodid ar ei dŷ braidd bob nos am wythnosau cyn cychwyn o Ferthyr, fel nad oedd ei fywyd duwiol yn ddiogel i gysgu ond rhwng ceidwaid o'i frodyr; ac yr oedd dyhirod mor annynol wedi cael eu cyflogi i'w ladd wrth iddo gychwyn, fel y gorfu iddo ymadael yn ddirgel y dydd blaenorol. Am beth y mae hyn oll? Gwyddoch chwi nad o herwydd dim achos a roddodd i neb, ond yn hytrach mai cynddaredd y diafol yn ei erbyn yw yr oll, o herwydd ei fod ef yn offeryn yn llaw Duw i dynu teyrnas y tywyllwch i'r llawr, ac i gasglu plant Duw i Seion. Yr unig ad daliad a ddymuna y brawd Jones, yw cael rhan yn ngweddiau y Saint, ac iddynt fod yn garedig at ei anwyl briod a'i blentyn,* pa rai y mae efe yn eu gadael yn eich plith chwi nes y dychwelo, o herwydd nid oedd ei

* Mae yn dda genym i hysbysu fod ein hanwyl chwaer wedi ei hadfern mor gyflym, nes iddi ddyfod yn ddigon abl i gychwyn gyda'r llongaid Saint a hwyliodd tua chanol y mis hwn; a bwriada ymuno â'i phriod yn Council Bluffs cyn pen ychydig Duw a fyddo gyda hi.—Gol.

unig faban ond pedwar diwrnod oed pan eu gadawodd hwynt,—a gwnaeth bob hunan-ymwadiad arall er mwyn efengyl Crist a'r Saint. Mawr fydd ei wobr ef a'i deulu am yr oll yn ddiau yn Seion.

Mae llawer o bregethwyr y gwahanol sectau, ar ol ein parddu, a dwbio ein cymmeriadau drwy y cyhoeddiadau Cymreig, a chondemnio ein crefydd anwyl dros eu pwlpudau, a gwneyd yr oll a allent i'n gwarthruddo a dryllio ein teimladau;—maent hyd yma, pan yr ydym ar fwrdd y llong, ac megys ag un droed allan o Babilon, yn ein haflonyddu, yn ceisio dychrynu y Saint rhag y fordaith, rhag y wlad, a rhag pob peth sydd dda, gan geisio eu perswadio i bob peth ond yr hyn a ddylent. Mawr yw eu hymdrechu i geisio gyru eiddigedd rhyngom a Chapt. Jones. Efe yw nod eu saethau oll; eithr hyd yn hyn methasant oll a dylanwadu ar gymmaint ag un; ond da oedd gan bob un o honynt gael y lân, gan gywilydd dros eu gau grefyddau eu hunain: ac ambell un o honynt, yn fwy gonest, a addefai mewn syndod, nad oeddem ni na'n crefydd cyn waethed ag y meddyliasai. Cawsant oll dystiolaeth ddidderbyn-wyneb gan Capt. Jones ac ereill, ac hyd y nod eu gweinidogion, a'r Parch. H. Rees hefyd, ddoe, nes iddynt fyned ymaith i'r làn ar frys yn fud. Gobeithio y bydd yn llesol i'w dwyn o dywyllwch i oleuni.

Mae pob canmoliaeth ac ymddiried yn ddyledus i'n hanwyl Lywydd Pratt, am ei holl ddaioni i ni yma. Teilynga eich ymddiried chwithau oll yn mhob peth.

Weithian, Saint anwyl, ffarwel i chwi oll; brysiwch i ddyfod ar ein hol.

Ydym, eich brodyr yn efengyl Iesu Grist,

| | |
|---|---|
| THOS. JEREMY, Llanybydder | WILLIAM MORGAN, Merthyr |
| BENJAMIN FRANCIS, etto | EDWARD EDWARDS, etto |
| DAVID PHILLIPS, Brechfa | BENJAMIN JONES, Aberdar |
| DANIEL DANIEL, etto | EDWARD EDWARDS, etto |
| RICE WILLIAMS, Swyddffynnon | WILLIAM DAVIES, Rymni |
| WILLIAM TREHARN, Pontyets | JOHN WILLIAMS, etto |
| DAVID JAMES, etto | REES PRICE, Dowlais |
| MORGAN HUGHES, etto | JOB ROWLAND, etto |
| SAMUEL LEIGH, Llanelli | JOHN HUGHES, Penycae |
| JOHN RICHARDS, etto | WILLIAM LEWIS, Blaenafon |
| WILLIAM ROWLAND, Hirwaun | JOHN PARRY, Birkenhead |
| REES JONES, etto | WILLIAM JENKINS, Caerdyf. |
| THOMAS GILES, Merthyr | |

*Liverpool, Chwef.* 25, 1849.

## YMFUDIAD Y SAINT I GALIFORNIA.

Mr. Gol.,—Dymunaf roddi ychydig o hanes y Saint a ymfudodd o'r wlad hon yn ddiweddar, gan fy mod wedi eu hebrwng i Liverpool, a thrwy hyny yn alluog i ddesgrifio eu taith mor bell â'r lle hwnw.

Dechreuwyd yr ymfudiad yn Abertawy, lle y cyfarfuodd holl Saint y Deheudir ar y 13eg o Chwefror diweddaf; ac am naw o'r gloch, boreu dranoeth, yr oeddynt i ymadael yn yr agerdd-long "Troubadour," i fyned i Liverpool. Cynnaliwyd cyfarfod pregethu, y nos o'r blaen, yn y capel mawr a chyfleus sydd gan y Saint yn Abertawy, yr hwn a orlenwyd o wrandawwyr cyfrifol, pryd y bu y brawd Thomas Pugh ac ereill yn pregethu. Yr oedd yr ymfudiad wedi gwneyd cyffroad mawr yn y dref, ac ymgasglodd miloedd ynghyd i weled y Saint yn myned ymaith. Pan oedd yr ymfudwyr ar gychwyn o'r dref, trwy ganiatâd y cadben, canasant "Ffarwel y Saint" yn soniarus iawn, nes tynu sylw neillduol yr edrychwyr. Dangosid parch mawr i'r amgylchiad gan y lliaws yn gyffredinol, a llawer napcyn a ysgydwid yn y ffenestri cyfagos; a thra yr oeddid yn parhau i ganu, hwyliodd y llong ymaith, a chyrhaeddodd Liverpool tua hanner awr wedi tri, prydnawn y dydd Iau canlynol. Cafwyd mordaith hynod o lwyddiannus, a buanach nag arferol o bedair awr. Yr oedd pawb yn iach ac wrth eu bodd ar hyd yr holl ffordd, oddieithr fod ychydig o glefyd y môr yn blino rhai. Wrth lanio yn Liverpool, dangosodd cadben y llong lawer o ofal dros y Saint, trwy eu tirio mewn man nad oedd *sharpers* y dref yn dysgwyl, lluoedd o ba rai oedd wedi ymgasglu i'r lle arferol i ddysgwyl yr agerlong, fel y gallent ledrata oddiar yr ymfudwyr. Yn ychwanegol at y caredigrwydd hwn, yr oedd Saint Liverpool wedi rhenti tŷ mawr chwech llawr o uchder, er amgeleddu eu brodyr Cymreig tra yn y dref. Yr oedd yn ddigon helaeth i'r holl gwmni lettya ynddo. Mae yn dda genyf i hysbysu hefyd i'r Saint oll, trwy iddynt wrandaw ar eu blaenoriaid yn eu rhybyddio i ofalu am eu heiddo, gadw pob peth yn ddiogel, fel nad allai holl gyfrwysdra ysglyfaethwyr y lle eu niweidio mewn un modd. Treuliasant bum diwrnod yn y tŷ a grybwyllwyd, ac yn ystod yr amser hyny ni chodwyd mwy am letty na 1s. 6c. yr un. Y dydd Mawrth canlynol, symudwyd y cyfan i'r llong Americanaidd, yr hon a fwriadai hwylio dranoeth; ond trwy ryw rwystrau, arosodd yno wed'yn hyd y 26ain.

Yn y cyfamser, yr oedd y Saint yn aros yn y llong, a buais innau hefyd yn aros yn eu plith; a gwelais rai o'r Saint ar brydiau yn cael eu cymmeryd yn glaf; ond mor fuan ag y gosodid dwylaw arnynt, yr oeddynt yn adferyd yn y fan; a gallaf dystio na welais fwy o allu Duw erioed nag a welais yn y llong. Tra buais yn eu plith yno, arweiniwyd fi gan fy nghywreinrwydd i wneuthur prawf o lawer o'r Saint, yn neillduol y rhai gwanaf (a galiaf enwi Gwilym Ddu, i foddloni cyfeillion Pontytypridd), er gweled os cawswn rai o honynt ag hiraeth arnynt i fyned yn eu hol. Yr ateb a gawswn yn gyffredin oedd,—"Er cymmaint yr ydym yn eich caru chwi, nis gallem eich caru gymmaint ag y dymunem droi gyda chwi yn ol. Gadewch lonydd i ni; yn mlaen mae pawb o honom am fyned."

Y dydd Sadwrn blaenorol i hwylio, daeth y Parch. Henry Rees, ac amryw o bregethwyr enwadyddol y dref, i'r llong at y Saint. Gofynasant i mi a'r Capt. Jones, os mai Cymry oedd yr ymfudwyr? Atebasom, "Iё." Yna gofynasant eilwaith, "Ai gwir fod yma wragedd gweddwon o'r Deheudir, y rhai ydynt wedi darparu dillad i osod am eu gwyr ymadawedig yn California, ac esgidiau i osod am eu traed? canys yr ydym ni wedi derbyn llythyron oddiwrth weinidogion parchus o'r Deheudir yn hysbysu hyny." "Nid oes gair o hyna," meddem ninnau, "yn wirionedd, eithr yn gelwydd noethlymyn; ac fe wyddai y personau hyny mai celwydd oedd pan yn ysgrifenu atoch. Ond, er hyny, y mae yn y llong rai gwragedd gweddwon ag sydd wedi cadw rhai pethau ar ol eu gwyr, o barch iddynt, eithr nid er mwyn eu cyfarfod yn California." "Da iawn genym yn wir," meddynt hwythau, "fod y Cymry mor ddoeth â hyna. Yr oeddym wedi synu i glywed fod y Cymry mor ffol; ond yn awr, gwelwn yma dystion i'r gwrthwyneb." Yna dangosasom ni ein hegwyddorion i'r parchedigion hyn, gan eu hysbysu nad oeddym ni yn credu dim ond sydd yn y Beibl. Gyda hyny, dywedasant, "Da iawn; dymunwn lwyddiant i chwi gyrhaedd pen eich taith, a bydded i Dduw eich bendithio oll." Wedi hyny ymadawsant, gan ffarwelo â ni, ac yn debygol o fod wedi eu siomi yn fawr yn y Saint.

Ar ddydd Sul (sef y 25ain), cynnaliwyd cymmanfa yn y llong, yr hon a agorwyd am ddau, gan yr ysgrifenydd, trwy ganu a gweddio, ac a ddygwyd yn mlaen dan lywyddiaeth Capt. Jones. Areithiodd amryw o'r brodyr ar yr achlysur, a mwynhäwyd graddau anarferol o Ysbryd Duw yn y lle. Corffolwyd y Saint

oll yno yn un gangen; ac yna rhanwyd hi yn wyth o ddosparthiadau, a llywydd ar bob dosparth; a phenodwyd tri arall i lywyddu dros y cyfan. Ar ol hyny, rheoleiddiwyd cynghor er trefnu materion y Saint, fel y buasai pawb yn cael cyfiawnder; ac yna terfynwyd y gymmanfa yn y dull cyffredin.

Nesäodd yr amser wedi hyny i hwylio tua thref, yr hyn a gymmerai le dranoeth am unarddeg. Ar yr achlysur hwn, cafodd y telynorion a'r cantorion le ar gaban y cadben, i ganu "Ffarwel y Saint" y waith olaf, pan yr oedd lluoedd wedi ymgynnull i wrandaw eu cerddoriaeth, ac i fod yn lygad-dystion o'u hymadawiad i Galifornia. Gadawai llawer eu goruchwylion er bod yn bresennol, a mawr oedd y boneddigeiddrwydd a ddangosid ar yr achlysur. Cyrhaeddasant enau yr afon oddeutu un o'r gloch, ac

"Aent dan ganu dros y weilgi,
Heb un ofn dan eu bron,"

nes yn fuan y diangasant o'n golwg, a'u dymuniad hwy a ninnau ar iddynt gyrhaedd y "wlad well." Ymadawodd llong arall boreu dranoeth yn llawn o Saint Cymreig, Seisnig, Gwyddelig, a Scotaidd. Y Duw grasol a'u bendithio hwy a ninnau, yw fy ngweddi barhaus. Amen.

W. PHILLIPS.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR FFLINT.

CYNNALIWYD cynnadledd sir Fflint yn Rhosllannerchrugog, ar y 4ydd o Chwefror diweddaf. Agorwyd y cyfarfod gan Abel Evans trwy ganu a gweddio; ac yna dewiswyd ef i lywyddu y gynnadledd. Cymmeradwywyd yr hyn a basiwyd yn Nghymmanfa Merthyr, yn y gynnadledd hon hefyd. Yna galwyd ar lywyddion y cangenau i'w cynnrychioli. Cynnwysai Bagillt ddau henuriad, dau offeiriad, a 15 o aelodau; Fflint, un henuriad, un athraw, un diacon, a 14 o aelodau; Rhos, un henuriad, dau offeiriad, a 16 o aelodau; Cefn, un henuriad, pedwar offeiriad, un athraw, a 17 o aelodau. Galwyd chwech henuriad, tri offeiriad, tri athraw, ac un diacon. Y cyfanswm yw unarddeg o henuriaid, pump o offeiriaid, tri athraw, un diacon, a 62 o aelodau (yn cynnwys pawb). Cawsom gynnadledd wrth ein bodd, a phob un yn wresog ac yn yr Ysbryd Glân. Daliodd amryw yno eu tystiolaethau yn gadarn, a phawb yn penderfynu myned rhag eu blaen. Yn eu

plith yr oedd chwaer ag sy'n byw yn agos i'r Cefnmawr, yr hon a dystiolaethodd ei bod hi wedi treio yr holl feddygon a glywodd sôn am danynt, er ceisio gwellhad i'r cancr, ond er y cyfan ei bod yn gwaethygu ac yn anobeithiol yn eu golwg, ac wedi ei rhoddi i fyny. Wedi hyny, amlygodd Duw ei allu trwy ei weision, y rhai a'i heneinnient ag olew yn enw yr Arglwydd, nes iddi dderbyn hollol iachâd. Yr oedd ei gwyneb a'i thrwyn wedi eu bwyta yn erwin, a thu fewn ei safn wedi ei dyllu ganddo. Diolchodd i Dduw am ei fendith iddi, a phenderfynodd lynu wrth ei waith hyd y nod pe gorfyddai iddi golli y diferyn olaf o waed ei chalon. Pwy na ufyddha i efengyl Iesu Grist?

ABEL EVANS, *Llywydd*,
A. VAUGHAN, *Ysgrifenydd.*

## YMDAITH Y SAINT.

TRWY fyd o orthrymderau, mae'r Saint yn myn'd yn mlaen,
Dan faner Iesu tirion, trwy nerth yr Ysbryd Glân,
Gan ddryllio teyrnas Satan, a chodi teyrnas Dduw,
A dangos ffordd i fywyd i bawb o ddynol-ryw.

Am hyny y mae gweision y gelyn du ei hun,
Yn dod i'r maes yn nerthol yn erbyn Mab y dyn,
Gan ddweyd eu bod hwy'n credu, ac etto'n credu dim,
Ond mewn rhyw rith o grefydd, gan hollol wadu'r grym.

Ac os y cânt hwy glywed am rai fo'n credu'r gwir,
Fel daeth o enau'r Iesu, yn hollol santaidd bur,
Y rhai'n ddechreuant erlid, a'u gwawdio ar eu hynt,
Fel gwnaeth eu tadau creulon i saint y dyddiau gynt.

T. H.

## DAEARGRYNFEYDD ARSWYDUS.

NEWYDDION diweddar o Wellington, yn Zealand Newydd, a'n hysbysant fod daeargrynfeydd arswydus wedi ymweled â Port Nicholson, trwy ba rai y cafodd tref flodeuog Washington ei darostwng hyd at fod yn bentwr o garneddau. Dydd Gwener, y 13eg o Hydref, a ymddangosai yn deg, ond yn dwymn iawn, a dydd Sadwrn yn wyntog ac yn gwlawio yn drwm. Parhaodd felly trwy gydol dydd Sul; a boreu dydd Llun, am hanner awr wedi un,

clywwyd rhyw swn ceuol pellenig, yr hwn a gerddai yn gyflym iawn, pan yn ddisymwth yr oedd yr holl dref yn ymysgwyd gan ddaeargryn na welwyd ei *fath* yno o'r blaen. Parhaodd yn y dull hyny ar amserau hyd hanner awr wedi saith. Taflwyd dwy ran o bump o'r simneiau i lawr, a dinystriwyd llawer o adeiladau cyhoeddus. Teimlwyd ysgydwadau dydd Mawrth eilwaith, a siglai y tai megys llongau mewn ystorom, a lladdwyd amryw gan yr adfeiliadau syrthiedig. Niweidiwyd yr yspyttai a'r carcharau gymmaint, fel y gorfuwyd symud y cleifion a'r carcharorion. Dydd Mercher, yr oedd y cyfan yn dawelwch; ond ar ddydd Iau, teimlwyd crynfeydd adnewyddol, a thrwy fod yn rymusach, cwblasant y dinystr. Syrthiodd capel y Wesleyaid ac adeiladau ereill, agorodd y ddaear mewn amryw fanau, ac ymddangosai yr awyr yn rhyfedd o danbeidiol. Teimlwyd ysgydwadau am amryw ddyddiau wed'yn, ond nid mor effeithiol, ac oddiar hyny hyd y 17eg o Dachwedd, ni chlywwyd rhagor am dano. Yr oedd y llongau yn noddfa i'r trigolion brawychus yn ystod y difrod, neu buasai llaweroedd wedi cael eu hangeu. Fe deimlwyd y ddaeargryn mewn parthau ereill o Zealand Newydd, ond nis oes dim gwybodaeth etto pa faint o ddifrod a achosodd. Mae geiriau Iesu Grist yn cael eu gwirio trwy "ddaeargrynfäau," yn gystal â thrwy yr "arwyddion hyn a ganlynant." Y sawl a barhao i'w anghred a eill ddysgwyl "y diwedd" i'w selio yn wirionedd.

---

## "SON AM RYFELOEDD."

MEDDYLIWYD ychydig amser yn ol fod y byd yn lled heddychlawn, ond yn bresennol mae "sôn am ryfeloedd" yn treiddio i'n clustiau yn aml. Mae y Sikhs yn India wedi bod yn ymosod yn greulon ar y Saeson yno, ac wedi dyfetha llaweroedd o honynt, ac yn eu plith lawer o'n cydgenedl. Wedi i'r Saeson dderbyn adgyfnerthiad, ymosodasant ar amddiffynfa Moultan, yr hon a gymmerasant yn fuan, gan i'r gwrthwynebwyr ei rhoddi i fyny, pan y cymmerwyd oddeutu tair mil o wyr creulawn eu golwg yn garcharorion. Yna aethwyd i mewn i'r ddinas, yr hon oedd yn hollol anrheithiedig, a chafwyd yno lawer o drysorau gwerthfawr, y rhai a benderfynir ranu rhwng y gorchfygwyr.

Darllenasom hefyd am derfysgoedd yn Pernambuo, yn Brazils, mor ddiweddar â'r 6fed o'r mis diweddaf, lle y lladdwyd cant o o un tu, a thri chant o'r tu arall, ac y cymmerwyd pedwar cant yn

garcharorion. Mae y newyddion diweddaraf o'r cyfandir hefyd, â'u son i gyd am ryfel, a pha faint o filoedd a fedd un wlad gogyfer a gorchfygu gwlad arall. Ceir hefyd fod cynhyrfiadau bychain yn blino Ffrainc a'r Iwerddon, y rhai sydd yn nes atom; ac y mae arwyddion yr amserau yn darogan nad yw hyn oll ond "dechreuad gofidiau."

## AMRYWIAETHAU.

Oed y Ddaear.—Dywedodd awdwr dysgedig unwaith mewn cyfeillach, "nad oes raid i ni gyrchu at ddaearddysg i brofi y ffaith hon; oblegid, fel y mae yn dal perthynas â chreadigaeth y bodau wybrenol, gellir profi fod y sêr sefydlog yn y fath bellder mawr, er fod eu goleuni yn teithio yn ol 190,000 o filltiroedd bob mynyd, fel ag y cymmerai 300,000 o flynyddau i belydr o hono deithio trwy y pellder hyny cyn y cyrhaeddai y ddaear; o ganlyniad, mae yn rhaid fod y sêr a welwn ni yn awr, wedi eu creu fwy nâ 300,000 o flynyddau yn ol."

Y Ffordd i Dlodi.—Eistedd i lawr, a chwiffio hanner wns o fyglys wrth son am dano.

Yr Anfoesgar.—Siarada naill ai y cyfan ei hun, neu yr un pryd ag ereill; ysmocia yn wastad tra bo ereill yn ymborthi; ac ymadawa o hyd â'i gyfaill ar hanner ei stori. Arfera ganu tra byddo ereill yn y gwely; syna yn anghyffredin wrth bob newydd; a gofala arllwys ei drwyn ar hanner ei giniaw.

Gemau.—Na wna ddim heddyw, ag y bydd genyt edifar am dano y fory.—Pob mynyd o amser sydd yn gof-adail o drugaredd.—Nid yw anghreifftiau yn awdurdodi yr hyn sydd feius.—Ffolineb, yn gystal â doethineb, a gyfiawnheir gan ei phlant ei hun.—Anghofiwch eich gweithredeoedd da eich hunain, ond nid yr eiddo ereill.—Mae Duw yn tywallt ei ddigofaint wrth fesur; yn cyfranu ei drugaredd heb rif na mesur.

Diogi.—Mae diogi yn tyfu ar bobl; dechreua mewn gwëadau prif-gopyn, a diwedda mewn cadwyni heyrn. Pa fwyaf fyddo gan ddyn i wneyd, mwyaf i gyd a wna; o herwydd dysga pa fodd i brynu ei amser.

"PROFWCH BOB PETH."

Fe ddylid profi pob peth sydd,
A dàl yr hyn fo'n dda;
Can's dyna yw dyledswydd dyn,
A doeth yw'r hwn a'i gwna.

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 4.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. I.] EBRILL, 1849. [PRIS 2g.

## CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr,
trwy y Deau a'r Gogledd.

1849.

☞ Carem glywed oddiwrth ein gohebydd medrus, D. ap Iago, ar destunau mwy poblogaidd.

☞ "W. W."—Yr ydym yn parotoi defnyddiau at y Llyfr Hymnau, ac yn bwriadu ei argraffu ar frys; a meddyliwn y bydd yn barod i ddyfod allan gyda Rhifyn Mehefin, yn werth chwecheiniog heb ei rwymo. Os oes hymnau newyddion da gan rai o'n hanwyl frodyr, danfoner hwynt yma yn ddioed.

☞ Gofyna T. E. os yw y "cusan santaidd" yn dda i'w arferyd yn awr? Arferiad oedd a berthynai i wlad arall; ond ar yr un pryd, daliai gyssylltiad â'r eglwys hefyd. Meddyliwn mai gwell i'r Saint oll, yn eu sefyllfaoedd a'u hanmherffeithrwydd presennol, i fod yn gynnil iawn yn yr arferiad hwn.

☞ "B. T."—Mae y swyddogion fu yn dysgu yr athrawiaeth felldigedig o aneffeithioldeb priodas yn y wlad hon, wedi eu hesgymuno o'r eglwys, ac ni allant gael dychwelyd heb ganiatâd y prif gynghor yn Seion.

Slafiaid.—"Dyweda *Seren Gomer*, am y mis Ebrill presennol," medd G. Davies, "fod yr enwadau crefyddol yn Unol Daleithiau America yn feddiannol ar chwe chan mil o gaethion! Medda y Wesleyaid 250,000, y Bedyddwyr 226,000, y Presbyteriaid 80,000, ac enwadau ereill 45,000." Mae y crefyddwyr uchod yn frodyr i'r crefyddwyr Cymreig a Seisnig, meddent hwy, ac yn frodyr i un gweinidog Bedyddiedig Cymreig a ddywedai yn ddiweddar (fel "Anti-Humbug" yn *Seren* Hyd., 1848), ynghylch ymfudiad y Saint, fel hyn—"Wedi cael digon o arian i gael llong neu longau i fordwyo i California, eu Pen-llywydd a hwylia i Cuba, neu le tebyg, ac a'u gwertha yn gaethion bob jack o honynt." Yn ei brophwydoliaeth, anghofiodd fod ganddo frodyr duwiol yn America yn masgnachu mewn caethion, y rhai, ond odid, a roddant well pris i Capt. Jones am ei longaid, o herwydd eu bod yn fwy crefyddol a dyngarol nâ'r prynwyr yn Cuba. Rhyfedd fel mae yr Americaniaid crefyddol yn rhagori fel masgnachwyr ar eu brodyr Cymreig, o herwydd fod y blaenaf yn masgnachu mewn cyrff ac eneidiau, tra nad yw yr olaf yn masgnachu ond mewn eneidiau yn unig!

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 4.] EBRILL, 1849. [CYF. I.

## LLYTHYR YR APOSTOL WILFORD WOODRUFF AT YR APOSTOL ORSON PRATT.

ANWYL FRAWD PRATT,—Derbyniais lythyr oddiwrth Henuriad Hyde, yn hysbysu fod Oliver Cowdery a'i deulu wedi dyfod i'r Bluffs; ei fod wedi rhoi boddlonrwydd i'r Eglwys, yr hon a bleidleisiodd dros ei dderbyn i mewn trwy fedydd; a dysgwylid y byddai i'r brawd Hyde ei fedyddio dranoeth. Yr oedd ef yn cynnorthwyo Henuriad Hyde i osod y wasg mewn gweithrediad i argraffu, gan feddwl dod â'r *Frontier Guardian* allan yn fuan. Yr oeddwn yn falch iawn i glywed hyn, o herwydd mai Oliver Cowdery oedd y person cyntaf a fedyddiwyd i'r eglwys hon o dan ddwylaw Joseph, ac y mae yn alluog i wneuthur daioni yn nheyrnas Dduw; da oedd genyf i glywed ei fod wedi dychwelyd yn ei ol i'r gorlan.

Mae y geri marwol yn ymdaenu yn araf yn New York, ac i raddau yn New Orleans, ond y mae twymyn arall yma gymmaint fwy ei rhwysg, nes y mae'r geri marwol yn cael ei anghofio. Crea fwy o fwstwr nag un dwymyn arall; caria ymaith ei degau o filoedd; a gelwir hi yn Dwymyn yr Aur. Mae rhifedi mawr o longau, a miloedd o ddynion yn parotoi i adael ein porthladdoedd er myned i'r tiriogaethau aur yn California; mae y byd yn credu cymmaint yn awr mewn ymgasgliad â'r Saint, ac yn ymgasglu yn llawer buanach; y byd yn ymgasglu at yr aur, a'r Saint er cyflawni gorchymynion Duw. Mae llongau yn gadael rhai o'n porthladdoedd braidd bob dydd, wedi eu llwytho gan ddynion a

nwyddau er myned i'r Bay of San Francisco. Darfu i'r Saint a aeth allan gyda S. Brannan a'r fyddin Formonaidd, nid yn unig ddarganfod yr aur, ond hefyd ei gasglu. Derbyniodd S. Brannan 36,000 o ddollars mewn llwch aur am nwyddau, mewn deg a thrugain o ddyddiau. Mae y dynion sydd yn cloddio am aur yn cael gwerth o bump i wyth mil o ddollars yn ddyddiol, ac y mae'r ddau rifedi yn dangos eithafion lwc dda a drwg. Nid oes un dyn yn ystyried ei hun yn llwyddiannus wrth gloddio am aur, os na fydd yn gwneyd ei ddeg a deugain o ddollars bob dydd; mae yn syndod i feddwl y fath drysorau y mae mynyddoedd California wedi ddangos i lygaid dyn, er pan y mae'r Mormoniaid wedi myned i'r wlad hono. Diamonds, platina, aur, arian byw, arian, copr, plwm, tin, zinc, brwmstan, cobalt, &c., &c., y rhan fwyaf o ba rai a geir mewn cyflawnder mawr ar hyd y wlad helaeth hono, yn neillduol aur. Y mae haiarn hefyd mewn cyflawnder; ac y mae'r pethau hyn yn creu mwstwr mawr yn y wlad hon, a miloedd yn cyrchu yno i wneyd eu ffortun, a gwna rhai hi mewn ychydig ddyddiau, tra mae ereill ddim yn gwneyd mor dda. Yr wyf yn meddwl fod y Saint yn y dyffryn mewn man cyfleus, gan eu bod wedi eu hamgylchynu gan fynyddoedd, ac allan o gyrhaedd y cynhwrf a fydd yn y Bay; a phan fyddo y Saint wedi ymgyfoethogi wrth gloddio am aur, gallant ddychwelyd i'r dyffryn a chartrefu yno, os na allant gael dim arall i wneyd. Mae y Senedd yn ymdrechu yn galed i ffurfio California yn Dalaeth; ond mae y gyfeisteddfod, er hyny, yn cael eu hyfforddi i ystyried y pwnc, yn y cyfamser, o gyfansoddi y rhan hono o Galifornia, a elwir Gwlad y Llyn Halen, yn Lywodraeth Diriogaethol. Ond y pwnc o gaeth-wasanaeth, yn gyssylltiedig â'r diriogaeth hono, yw asgwrn yr ymryson, sydd mor galed i'w gwpla, ac y mae eisoes yn dechreu creu amseroedd brwd. Mae Llywodraeth Ohio a'r holl Dalaeth braidd yn nghanol rhyfel cartrefol; mae y ddwy blaid yn gyfartal, ac yn methu gweithredu, gan na rydd un o'r pleidiau i fyny; ac nid oes dim busnes wedi ei wneyd, hyd yn hyn, ond ymladd; cadwodd pleidwyr gwerin lywodraeth feddiant o'r Tŷ y rhan fwyaf o'r amser; ond deallaf y gwelwch y newyddion hyn yn y papyrau Americanaidd a Phrydeinig. Ymddengys mai twymyn yr aur yw y prif bwnc o bob peth yn yr amser presennol; y llythyron diweddaf a ddyddiwyd yr 8fed o Hydref; hyd yn hyn nid oes un gyfraith yno, ond nerth a gallu; pob llong, cwmpeini milwraidd, a phob peth arall, a adewir gan bob

dyn du a choch mor fuan ag y deuant i'r Bay of San Francisco, a brysiant i'r cloddfeydd aur, a'r rhai hyny sydd mor fratiog â begeriaid a allant gael dau chwart neu dri o lwch aur, gwerth 16 o ddollars yr wns, bob dydd. * * * * * *

Yr eiddoch yn rhwymau yr Offeiriadaeth,

*Cambridge Port*, U.*S.A.*, *Rhag*. 26, 1848. W. Woodruff.

---

## Y "DONIAU YSBRYDOL" YN MRAWDLYS Y GELYN.

Addawsom yn ein Rhifyn cyntaf, os na roddai Golygydd *Seren Gomer* ganiatâd i amddiffyn egwyddorion y Saint yn ei gyhoeddiad ef, yn ngwyneb yr ysgrifau sydd ynddo gan Sylwedydd o'r Gogledd ar y "Doniau Ysbrydol," y byddai i ni ysgrifenu ychydig ar y pwnc yn yr Udgorn. Mae ein terfynau yn rhy fychain, a'n darllenwyr, y rhan fwyaf, yn rhy ddyeithr i'r *Seren*, i ni feddwl adolygu y cwbl; ac am hyny edrychwn heibio i'r cornelau lle mae y Sylwedydd yn ysgyrnygu ac yn ymollwng i ddrwg-liwio, ac awn ar ei ol i'r manau lle y mae ar agwedd un yn ceisio ymresymu. Gorfodir ni i wneyd fel hyn, o herwydd fod brawdlys y *Seren* mor wahanol i frawdlysoedd ereill y wlad, fel na chaniateir i neb ddwyn dim yn mlaen o blaid y "Doniau Ysbrydol," ond y cyfan i'w herbyn. Priodol, ynte, yw dweyd fod y "Doniau Ysbrydol" yn mrawdlys y gelyn, ac fod y tyst yn eu herbyn yn cael dweyd y camgyhuddiadau a fyno, heb neb yn beiddio ei ammau. Oddiar ein hadnabyddiaeth helaeth o gorff ac ysbryd y Sylwedydd, gwyddom i raddau pa faint o ddymuniad sydd ynddo i gael allan y gwirionedd am y Doniau Ysbrydol, ac befyd am bethau ereill. Mae dyn yn chwilio gwirionedd yn rhwydd i'w adnabod; canys ni welir ef byth yn plygu ei ben ac yn cywilyddio, pan y clywo ei gyd-ddyn yn amlygu yr hyn a wyr efe ei hun sydd yn wirionedd. Nid oes eisieu bwyta pecaid o halen gyda dyn felly, er ei adnabod. Ond mae rhywun, fe allai, yn gwaeddi am ddyfod at y pwnc; eithr arosed dipyn er ystyried beth yw ein dyben. Ai myned ydym i amddiffyn traddodiadau ein tadau, y rhai a ddysgwyd i ni er pan yn blant; neu rywbeth arall a gofleidiasom yn groes i ragfarn ein gwlad, rhagfarn ein rhieni, a rhagfarn ein hunain? Ai myned ydym i ddynoethi twyll egwyddorion a berchir gan bawb, neu egwyddorion a ddirmygir gan bawb? Atebwn mai myned ydym i egluro ac amddiffyn yr hyn a *wyddom*, nid a gredwn ac a obeithiwn, sydd yn

wirionedd; ie, mai bwriadu ydym i sefyll o blaid yr hyn a brofa ei hunan yn wirionedd i bob dyn gonest. Yr ydym yn anghymmeradwyo y dynion a safant o hirbell i farnu gwirionedd, yn lle meddu digon o wroldeb i ddod yn agos i wneuthur prawf drostynt eu hunain. Creda llawer yn y nos mai bwci yw pob boncyff yn y berth, o eisieu bod yn ddigon o ddynion i fyned atynt i'w teimlo a'u trafod, a gwneuthur prawf o honynt.

Cymmera y Sylwedydd o'r Gogledd achlysur i ysgrifenu oddiar sylwadau a gyhoeddodd Capt. D. Jones, ar y Doniau Ysbrydol, yn yr "Eurgrawn Ysgrythyrol." Y pwnc cyntaf yn ngorchestwaith y Sylwedydd a welir yn *Seren* Hydref, 1848, wedi ychydig o arweiniad i mewn, dan yr enw

### CORFF NEU EGLWYS CRIST.

Gosodiad Capt. Jones ar y pwnc hwn yw, fod corff Crist wedi ei gyfansoddi o aelodau, yn ol fel y desgrifir ef yn 1 Cor. xii; ac mai y swyddi a'r gwahanol ddoniau oedd yr aelodau a'i cyfansoddai. Dywed mai "Duw a osododd yr holl aelodau yn y dyn cyntaf a grewyd, a gosododd hwynt yn gywir fel, ac yn y manau ag yr ewyllysiodd Efe; felly yn gywir yn ei eglwys. Ac y mae mor ffol i unrhyw hunan ddoethion yn awr hòni y gallant dori ymaith y cyfryw aelod corfforol, a'i osod i well dyben yn rhyw fan arall o'r corff dynol, ac aelod arall yn y fan arall, a thori ymaith yr aelodau ereill fel pethau afreidiol; ag yw i gynghrair o ddoethion geisio cyfnewid neu wneyd heb y doniau ysbrydol oll, bob un yn ei lle, ac i'w dyben priodol, yn eglwys Dduw: mae y naill yn gyffelyb i'r llall." Yn ateb i Capt. Jones, dywed y Sylwedydd,—"Yn ol hyna, nid oes un eglwys yn eglwys i Grist, oni fydd y swyddi neu y doniau hyn ynddi. Ond sylwed y cyfryw fod eglwys yr Hen Destament yn gorff Crist cystal â'r Newydd; canys dywed Paul mai 'un corff sydd,' h.y., un eglwys i Dduw. Wel, nid yr un swyddau (neu *aelodau*, fel y dywed y Mormoniaid) sydd wedi bod yn y corff er yr oruchwyliaeth batriarchaidd hyd yn bresennol. Nid yr un nifer o swyddau oedd yn yr oruchwyliaeth batriarchaidd â'r Foesenaidd, na'r Foesenaidd â'r Gristionogol. Ac felly, nid yw eglwys Crist yn debyg i gorff yn *nifer* na *pharhad* y swyddau ynddi." Nid mor ddrwg, rhaid cyfaddef, y mae Mr. Sylwedydd yn ymresymu. Ond pa le oedd corff yr Hen Destament, pan y dywedir i Dduw osod yn yr eglwys (sef y corff), "yn *gyntaf* apostolion, yn ail prophwydi, yn drydydd athrawon," &c.

(1 Cor. xii, 28)? Os oedd corff yn bodoli o'r blaen, mae yn rhaid i ni alw hwnw yn rywbeth heblaw corff Crist, canys pan alwodd Duw apostolion y dechreuodd yr olaf fodoli. Os bu corff yn flaenorol, yr oedd yr Hwn a'i lluniodd yn ddigon galluog i'w ail foldio yn gorff newydd i'w anwyl Fab. Mae gan awdwr hawl i newid ei waith, i ateb gwahanol ddybenion: felly mae gan Dduw. "Un corff *sydd*," mae yn wir, ond ni phrofa hyny mai un *fu*. Rhaid cyfaddef hefyd nad oes desgrifiad yn yr Hen Destament am un corff ag sydd yn debyg i gorff Crist, yn ol y Testament Newydd. Ond ni oes achos manylu am yr hyn a fu dan yr "hen oruchwyliaeth," fel y dywedir, ond am yr hyn sydd yn bod dan yr un newydd. Yr ydym wedi dyfod i benderfyniad fod Duw wedi cyfansoddi corff neu eglwys newydd, er ys mwy nâ deunaw cant o flynyddoedd, bellach; ac y mae apostolion, prophwydi, athrawon, gwyrthiau, doniau i iachâu, cynnorthwyau, llywodraethau, rhywiogaethau tafodau, &c., wedi eu gosod ynddo. Oed beth yw yr holl bethau hyn a osododd Duw yn y corff? Ai *aelodau* ydynt? Os nage, nid oes son i "aelodau" o ddesgrifiad y Sylwedydd, gael eu gosod i mewn yn y corff erioed. Os mai dynion yw yr aelodau yn yr eglwys, fel gyda'r sectariaid, nid Duw sydd wedi eu gosod ynddi, ond hwy eu hunain; canys yr hyn mae Ef yn osod ynddi, o'r uchelder y mae yn deilliaw, yn "roddion i ddynion" (nid i aelodau)—gan roi "rhai yn apostolion, a rhai yn brophwydi," yn efengylwyr, yn fugeiliaid, ac yn athrawon. Tybiwn y gŵyr pawb bellach beth sydd yn gwneyd i fyny aelodau yn eglwys Crist. Yn awr, ceisia Mr. Sylwedydd ymresymu "nad yw eglwys Crist yn debyg i gorff yn *nifer* na *pharhad* y swyddau ynddi?" Ai tybied na osododd Duw y nifer angenrheidiol o aelodau yn y corff, ond iddo adael rhai i'w gosod gan ddynion? Nid yw fod llai o aelodau yn Nghorff y Methodistiaid, nag a osododd Duw yn nghorff Crist, yn profi dim; canys corff o waith Calfin yw y blaenaf, a chorff a'i "aelodau" oll (yn ol esboniad Mr. S.) naill ai yn benau, llygaid, clustiau, breichiau, neu draed. Hwyrach mai traed mewn "undeb' yw y cyfan. Ond gadawn anghenfil felly, ac awn i edrych os yw eglwys Crist yn debyg i gorff o ran *parhad* ei aelodau. Os mai corff oedd wedi i Dduw osod yr holl aelodau ynddo, mae yn rhaid mai anghenfil fyddai wedi colli mwy na'u hanner. Paham y galwyd eglwys Crist yn gorff, os oedd i newid yn ddisymmwth i rywbeth arall? Ni ddeuai felly byth yn "*wr perffaith*, at fesur oedran

cyflawnder Crist." Pa gorff dynol sydd yn dyfod yn "wr perffaith," wrth golli ei aelodau yn barhaus? Os gall ddweyd un diwrnod mai efe bïa ei holl aelodau, dichon mai ei drwyn yn unig fydd ganddo ddiwrnod arall. Y fath ffolineb mae'r diafol yn roddi i rai i geisio gwyrdroi y gwirionedd! Oni wyddom fod corff Crist "wedi ei gyd ymgynnull a'i gyd gyssylltu, trwy bob cymmal cynnaliaeth, yn ol y nerthol weithrediad yn mesur pob rhan, yn gwneuthur *cynnydd* y corff, i'w adeiladu ei hun mewn cariad?" Mae yr apostolion, y prophwydi, a'r aelodau ereill, i gyflawni dyben eu gosodiad yn y corff, nid tra byddo yn ei fabandod yn unig, ond "hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn *wr perffaith*, at fesur oedran cyflawnder Crist." (Eph. vi, 11—16). Yn awr, os caniateir, rhoddwn ein barn am gorff Crist, mai un mewn *embryo* oedd dan yr hen oruchwyliaeth, ac iddo gael ei ffurfio a'i eni o Dduw dan yr un newydd, a'i fod wedi hyny yn derbyn ymborth ysbrydol trwy'r Pen, i'w holl aelodau, er cynnyddu ac adeiladu y cyfan; ac iddo, pan yn tyfu, gael ei gipio i'r "diffaethwch," lle y cafodd ei faethu "dros amser, ac amseroedd, a hanner amser, oddiwrth wyneb y sarff:" yna iddo gael ei adferu o'r "*ymadawiad*" hwnw, a'i fod heddyw etto ar wyneb y ddaear, yn meddu ei holl aelodau fel ag y gosodwyd hwynt, mewn llawn gwaith, a'r corff yn agosach i fod yn "wr perffaith" nag erioed. A ddigona hyna, tybied?

Yn nesaf, ymholwn, Beth am y PEN sydd i'r corff? Dywed Mr. Sylwedydd, gyda Phaul, mai Crist yw'r pen; ac haera Capt. Jones, druan, mai'r apostolion ydyw. Llaw fudr yw Paul, weithiau, er arwain dynion i gam-esbonio. Dyweda ar droion mai y gwr yw *pen* y wraig, nes y mae yn ddigon i hala hurtyn i haeru nad oes gan y wraig un pen ei hunan. Gallai ddweyd yn eithaf grammadegol, ei fod yn gwybod am "wraig" ar y ddaear, a'i Phen yn y nefoedd, a'i bod trwyddo yn derbyn cynnaliaeth i'w chorff; a gallai ddweyd hefyd, heb groesi ei hun, fod pen ganddi hi ei hunan hefyd, ac mai trwy hwnw oedd hi yn derbyn cynnaliaeth, er ar yr un pryd yn derbyn o'r llall. Mae yn ddiddadl fod Paul yn gwybod, pan yn dweyd mai Crist yw *pen* yr eglwys, fod gan Grist ben ei hun hefyd, a'r eglwys (neu'r wraig) yr un modd; yr un fath ag y mae gan wr a gwraig benau eu hunain, heblaw "pen y wraig yw'r gwr." Gobeithiwn y bydd y Sylwedydd yn gallach, pan y prioda ei eneth, na myned i dori ei phen, a sicrhau ei hunan yn groes ar ei gwddf er bod yn "ben" iddi yn ei le.

Yn awr, desgrifio pen daearol yr eglwys oedd Capt. Jones, a Phaul yn desgrifio y Pen nefol. Er nad yw Crist ar y ddaear yn bresennol, etto mae yn gallu bod yn Ben ar ei eglwys yr un cystal, gan fod ganddi hi ben hefyd ar ei chorff, i ofalu drosto yn absennoldeb ei Phriod, ac i drafod yr "allweddau" a dderbyniodd ganddo. Corff heb ben arno ei hun, ni ddylai alw Crist yn ben iddo, o herwydd nid oes ganddo un math o benglog i ddeall beth mae Crist yn lefaru wrtho. Diffyg o benglog, efallai, yn nghorff y Methodistiaid, a'r enwadau ereill, yw yr achos nad ydynt yn clywed lleferydd Duw er ys cymmaint o amser. Chwilied ein hanwyl ddarllenwyr, ynte, os ydynt am adnabod corff Crist, am ryw gorff â phenglog arno, yr hwn sydd â llygaid i weled, clustiau i glywed, ac ymenydd i ddirnad yr hyn mae Crist, y Pen nefol, yn lefaru wrtho. Yn y cyfamser, cymmerwn ninnau anadliad cyn dechreu gyda y Doniau Ysbrydol, gan hyderu ein bod wedi siarad digon am y corff.

---

## Y PARCH. D. DAVIS, PANTEG, A MORMONIAETH.

Er nad ydym ni yn ymhyfrydu trafod personau, etto mae rhyw bethau neillduol mewn rhai yn tynu ein sylw yn fwy nâ'r gilydd. Nid un anmharch tuag at Mr. Davis fel dyn, yw yr achos ein bod yn cymmeryd ei enw mewn llaw, canys gwyddom nad oes gan neb ddim i ddweyd yn ddrwg am dano; eithr ei ymddygiad tuag at y bobl ddrwg a elwir y Saint, yw yr unig achos ag sydd braidd yn ein gorfodi i'w ddwyn o flaen y cyhoedd. Y mae efe wedi bod yn pregethu yn erbyn y Saint amryw droion, gan ddweyd llawer o bethau yn feius am danynt; ond nid dyna paham y triniwn ef yn bresennol. Yr hyn a achlysurodd hyn yn benaf yw yr ymddygiad a ganlyn:—Ychydig ddyddiau cyn ein symudiad i Ferthyr, fel yr oeddym yn trafod ein rhifyn am Chwefror, yn ein swyddfa yn Nghaerfyrddin, daeth y Parch. Mr. Davis i mewn atom, a phan ein gwelodd wrthi, gofynodd os oedd ef i gael un o'r Udgorn. Yna darfu i ni ei anrhegu â chopi o hono. Gyda hyny gofynodd, "Beth os na fyddaf yn cydweled â rhyw bethau sydd ynddo, ac yn dewis gwneuthur sylwadau arnynt, pa le mae i mi eu cyhoeddi?" Dywedasom y cawsai yr Udgorn at ei wasanaeth; a sylwodd yntau fod hyny yn ddigon teg. Yn mhen oddeutu wythnos, galwodd wed'yn, a chawsom gyfleusdra i ofyn iddo beth oedd yn feddwl am ein cyhoeddiad. Atebodd fod yn

ddrwg iawn ganddo am danom, am ein bod yn cyhoeddi y fath ddwlni; o herwydd fod pob peth ynddo yn amddifad o reswm ac ysgrythyr, &c., gan ddiraddio ein hanrheg fychan ni yn is nag oedd yn gweddu i ddyn o'i fanteision ef. Ar ein dymuniad, ymdrechodd nodi y ffolineb o ddweyd (yn nhud. 27), "Yr wyf fi yn dyst trwy weled, clywed, a theimlo," ac o ddweyd fod y Beibl a'r Ysbryd Glân yn dystion hefyd, o wirionedd crefydd y Saint. Mae'r ymddadleu a fu rhyngom yn rhy faith i ni feddwl ei adrodd; ond buom megys milgi ar ei ol o un man i'r llall, hyd nes y gorfyddodd ddianc i ddiffaethwch y diafol i geisio arwydd, i'n profi os oeddym o Dduw. Dywedasom wrtho bryd hyny, iddo efelychu Mr. Diafol gynt yn hynod o dda. Mae yn ddrwg genym ddweyd fod Mr. Davies yn fwy cynhyrfus nag y dymunem iddo fod. Yna, gan iddo drin ein cyhoeddiad mor arw, a ninnau wedi addaw lle iddo er dangos ein twyll a'n ffolineb, erfyniasom yn daer arno i ysgrifenu i'r UDGORN, megys yr addawodd wneyd, os methai gydweled â ni. Dangosasom ei ddyledswydd iddo, fel dyn o ddylanwad a pharch, i argyhoeddi y miloedd o'i gydgenedl sydd wedi cofleidio y "twyll," tra yr oedd efe yn gallu ei ganfod mor hawdd. Er hyny, parhaodd ef i ddweyd na wnelai ysgrifenu, ac nad oedd arwydd i'w chael, onide y buasem yn ei gwneyd o'i flaen ef y pryd hwnw. Pan welsom na ysgrifenai ddim, dywedasom wrtho y gwnaem ni hyny drosto; ac felly yr ydym yn gwneyd yn awr.

Dwg yr uchod i'n cof am ymddygiad annheilwng arall o eiddo Mr. Davis, yr hyn a gymmerodd le er ys blwyddyn yn ol. Y llythyron canlynol rhyngddo ef a ninnau, a esboniant y cyfan i'r darllenydd craffus, heb achos rhagymadroddi dim yn mhellach. Wele gopïau o honynt, y rhai a gadwasom, yn ddifeddwl, erbyn dydd eu dadguddiad:—

"*Tannerdy, Mawrth* 1, 1848.

"Barch. Syr,—Yr wyf yn ysgrifenu hyn atoch, o herwydd nad wyf yn cael hamdden i siarad â chwi. Arferai fod genyf olwg fawr arnoch, a thueddid fi i feddwl fod genych chwithau ryw olwg arnaf finnau hefyd. Yr amser hwnw yr oeddwn i yn un o'r byd, heb ymuno â chrefydd o un math, ac ymddangosai fod genych gariad tuag ataf. Yr oeddech chwi yn Gristion, a minnau yn un o ddeiliaid teyrnas y tywyllwch; er hyny yr oeddym megys cyfeillion. Y mae plant diafol yn casâu plant Duw, ac yn eu gwrthwynebu yn mhob peth, ond nid oeddym ni ond megys plant yr un tad,—etto plentyn diafol oeddwn i, yr wyf yn sicr. Wedi yr amser tawel hyn, daethum i rywfodd o hyd i grefydd, a hono yn

grefydd ag y mae 'dywedyd yn eu herbyn yn mhob man;' gelwir hi yn Formoniaeth gan rai, ac yn Sataniaeth gan ereill; gelwir ei phregethwyr yn 'au brophwydi' (fel pe buasai rhyw *wir* brophwydi yn bod), ac yn 'dwyllwyr,' ynghyd â phob enw drwg arall. Ar ol darllen yr ysgrythyrau drostynt, fe ddarfu i mi gredu yr athrawiaeth newydd, a chymmerais fy medyddio 'er maddeuant pechodau.' Yr oeddwn i wedi fy nysgu genych chwi ac ereill, y 'y dylaswn brofi *pob* peth, a dal yr hyn oedd yn dda.' Dysgwyd fi hefyd y gallwn farnu droswyf fy hun, a chredu y grefydd a feddyliwn oedd yn fwyaf ysgrythyrol: ac nad oedd hawl gan un sect i wrthwynebu sect arall i fyned yn mlaen, ond trwy ymresymu â hwynt yn deg, wyneb yn wyneb. Ni ddysgwyd fi gan neb o'r Annibynwyr y byddai yn deg i nacâu tir at godi capel i Fedyddwyr, neu Fethodistiaid, neu Eglwyswyr, os buasai hyny yn cael ei wneyd ar yr 'egwyddor wirfoddol:" ni ddysgwyd fi erioed i feddwl fod yn iawn gorfodi tad Annibynol i nacâu tŷ i'w fab i bregethu ei grediniaeth i'r sawl a ewyllysiai ei wrandaw: na, Rhowch ryddid a chwarae teg i bawb, meddech chwi ac ereill, hyd y nod pe byddent Babyddion! Yr oedd hyna oll yn rhagorol; a phe buasai egwyddorion fel yna yn ffynu yn awr yn Nghaerfyrddin a'i chymmydogaeth, arbedid y trafferth hyn i mi. Ond nid felly y mae. Y mae rhyddid meddwl yn cael ei attal gan y rhai a'i canmolai fwyaf. Mae y dynion a *ymneillduasant* oddiwrth orfodaeth, yn gorfodi gymmaint â neb, ac nid yw eu rhyddid ond rhith. Y mae hyn yn galed, ond mae yn wir. Edrychwn o'n hamgylch. Pwy glywwn yn dweyd, 'Profwch bob peth,' ac â'r un anadl yn bloeddio, 'Na ewch i wrandaw y Mormoniaid?' Ag un chwyth yn dweyd, 'Chwarae teg i bawb;' ac â'r chwyth arall, "Na roddwch dŷ i'r Seintiau i bregethu.' Yr un genau a ddywed mai rhagfarn yw rhwystro Ymneillduwr i bregethu yn y llàn, ag a ddywed mai doethineb yw rhwystro un o'r Seintiau i bregethu yn y capel; yr un a ddywed na lygrir coed a cheryg y llàn gan un math o ymadroddion, ag a ddywed y llygra'r Mormoniaid goed a cheryg y capel. Os yw yr Ymneillduwyr wedi cyfranu at y naill, mae y Mormoniaid wedi cyfranu at y llall. Tra y creda un *nas gellir* twyllo yr 'etholedigion,' rhybyddia hwynt i beidio gwrandaw y Saint rhag *cael* eu twyllo; a thra yn annog gochelyd *gau* brophwydi, cyhoedda nad oes *gwir* brophwydi. Pan y crochfloeddia un fod gwyrthiau wedi darfod, gweddia ar ei Dad am dywydd teg; a phan erlidia y Mormoniaid am sôn ynghylch angylion yn dyfod i'r byd yn awr, deisyfa ar ei Dduw i orchymyn i'w angylion gastellu o'i amgylch!

"Efallai y bernwch chwi fod pethau fel hyn yn rhy geerus i'w hadrodd, ac efallai y dywedwch, yn ddystaw, eu bod yn rhy wir hefyd; ond gan fod fy llythyr yn myned yn faith, gadawaf hwynt yn bresennol, a deuaf at wreiddyn y mater. Yr ydwyf fi wedi fy medyddio, fel y dywedais yn flaenorol, er maddeuant pechodau, ac yr ydwyf wedi derbyn yr un Ysbryd â'r apostolion, trwy arddodiad dwylaw, yn ol yr addewid. Mae yr Ysbryd hwnw yn cyd-dystiolaethu â'm hysbryd i fy mod yn blentyn i Dduw, ac

yr wyf wedi cael sicrwydd am y ddysgeidiaeth. Yr wyf wedi cael fy ngalw a'm hordeinio trwy yr Ysbryd i bregethu yr un peth ag a bregethodd yr apostolion, heb newid dim, ac i addaw yr un bendithion i 'bawb yn mhell.' Yr wyf yn pregethu yn mhob man ag y caf gyfle. Carwn bregethu wrthych chwithau yn fawr, canys nid wyf yn meddwl eich bod chwi wedi 'profi' y grefydd wyf yn bregethu. Wel, ynte, ni ellir dysgwyl eich bod chwi yn erbyn peth ag yr ydych heb ei glywed; oblegid nid yw hyny yn gysson â'ch egwyddorion. Os felly, nid oes bosibl eich bod chwi yn rwystr i neb o'ch aelodau ddyfod i wrandaw'r Saint, nac yn rwystr i neb agor tŷ iddynt, neu roddi iddynt led troed o flaen tŷ. Nid oes bosibl i ddyn o egwyddorion 'rhydd'—dyn a rydd chwarae teg i Babyddion—lai na rhoddi ei gapel ei hun i glywed y Saint yn pregethu efengyl yr apostolion. Ni chauai dyn fel chwi yr hen Baul allan, o herwydd ei fod yn dweyd, 'Deisyfwch y doniau ysbrydol, ac na waherddwch lefaru â thafodau.' Wel, ni waherddech finnau, ynte, os dywedwn yr un peth. Ond mae genyf dipyn o hanes i ddweyd yn awr. Bum yn fawr am i'm cymmydogion gael clywed fy nghrefydd, ac yr oeddwn yn methu deall pa fodd y gallwn bregethu iddynt; ond o'r diwedd, symudodd deiliad o hen dŷ oedd gan fy nhad, a chymmerais y rhyddid, heb ofyn i neb, i bregethu ynddo. Daeth dynion i'm gwrando. Mae fy nhad yn aelod yn rhywle, a beiid ef yn fawr gan y gweinidog am roddi lle i'w fab i ddweyd ei feddwl!!! Yn awr, mae y cyfryw weinidog, efallai, yn un o'r Independiaid, a dymunwn ofyn i chwi os gwyddoch pwy yw?

"Yn awr, yn gymmaint a'm bod i yn pregethu—yn pregethu yr efengyl, yn cymmeryd yr un Beibl â chwithau i'w chadarnhau, ac yn wybodus am eich egwyddorion rhydd ac haelfrydig chwi, pa rwystr sydd i mi rhag traddodi pregeth neu ddwy yn Penuel? Yr un yw ein Crist; os ydym yn gwahaniaethu mewn pethau bychain, nid yw ond yr hyn sy'n bod yn mysg pregethwyr o'r un enwad gyda'r Ymneillduwyr. Wel, a gaf fi ddim traddodi yr hyn wyf yn gredu sy'n wirionedd Beiblaidd, wrth eich gwrandawwyr chwi yn Penuel neu Banteg? A gaf fi ddim barnu droswyf fy hun uwchben eich cynnulleidfa chwi? A ydych chwi heb wybod mai 'cyd-was' ydwyf i chwi, a chwithau yn was i'r un Duw? Hoffwn wybod pa bryd y gellwch fy nghyhoeddi yn Penuel; ni fydd achos am un math o dâl am y bregeth, canys nid wyf yn astudio dim, ond llefaru fel y caf yr ymadrodd, ac y mae hyny yn ddidrafferth ddigon. Os gwelwch chwi rywbeth yn gyfeiliornus, gellwch ei hysbysu wedi i mi ddarfod, ac yna caiff y gynnulleidfa farnu drostynt eu hunain. Dymunaf ateb pan y caffoch gyfleusdra. Terfynaf yn awr, gan obeithio y llwyddaf; os amgen, ni fydd dim yn well na threio eilwaith.

"Yr eiddoch, gyda pharch,

"JOHN DAVIS.

"At y Parch. D. Davis, Pantteg."

Yma y canlyn ateb Mr. Davis, yn Saesneg, fel y dewisodd ei ysgrifenu:—

"Monday morning.

"Dear Sir,—I happened to tell your father, that I was afraid his character would suffer by allowing you and your people to meet at the vacant house by Tannerdy. I did it entirely for his sake. Nothing to me. Whenever you are ready to prove to me that you get extraordinary supplies, or that you have studied a sermon, I shall be most happy to introduce your case to the friends at Peniel. Yours,

"D. DAVIS, Pantteg.

"Mr. John Davis, Tannerdy."

Yn debyg i hyn yw y cyfieithiad:—"Anwyl Syr,—Dygwyddais ddweyd wrth eich tad, fy mod yn ofni y byddai yn niweidio ei gymmeriad, trwy eich gadael chwi a'ch pobl i gyfarfod yn y tŷ gwag wrth Tannerdy. Gwnaethym hyny yn unig er ei fwyn ef. Dim yn y byd i mi. Pryd bynag y byddwch chwi barod i brofi i mi eich bod yn cael cynnorthwyadau anarferol, neu eich bod wedi astudio pregeth, bydd yn dda genyf ddwyn eich achos o flaen y cyfeillion yn Peniel." Dyna fel yr ysgrifenai Athraw Duwinyddol atom! Yn awr, diweddwn, gyda chopïo ein hateb ninnau, yr hwn sydd fel hyn:—

"*Tannerdy, Mawrth* 6, 1848.

"Barchedig Syr,—Yr wyf wedi derbyn eich nodyn. Y mae yn dda genyf eich bod yn gweled eich hun yn ddiniwed yn yr hyn a fu rhyngoch â'm tad; caraswn i bawb weled yr un fath. Yr ydych chwi yn ystyried nad oes un drwg mewn digaloni dyn i roi rhyddid a chwarae teg i ereill, trwy ddweyd y byddai yn niweidiol i'w gymmeriad, yn hytrach na dweyd eich bod chwi yn barod i'w amddiffyn pan yn sefyll o blaid chwarae teg. Ond gadawaf hyna yn awr, er y gallwn ddweyd llawer ar y peth: "anghenrhaid yw dyfod rhwystrau," ac am hyny ymfoddlonaf. Dywedwch wrthyf yn Saesneg, "Whenever you are ready to prove to me that you get extraordinary supplies, or that you have studied a sermon, I shall be most happy to introduce your case to the friends at Peniel" Nis gwn i pa fodd i ddeall hyna yn iawn: efallai fod rhai o'r geiriau i'w cymmeryd yn ffigyrol neu ysbrydol. Pa fodd y gallaf brofi fy mod yn cael "extraordinary supplies" [cynnorthwyadau arferol], heb i chwi gael fy nghlywed yn traddodi yn ddifyfyr? a pha fodd y gellwch chwi glywed hyny, *cyn* dwyn fy achos o flaen y cyfeillion yn Peniel? Os gellir, pa fodd? Hefyd, pa fodd y gallaf brofi i chwi fy mod wedi astudio pregeth, cyn gwneyd hyny? *Ar ol* gwneyd hyny, y mae yn ddigon rhwydd profi. Ond, os gwnaf astudio pregeth, pa fodd y gallaf wedi hyny brofi yr "extraordinary supplies?" Fy nhrefn i yn

nghylch pregethu yw gweddio yn gyntaf am yr Ysbryd Glân i'm cynnorthwyo i ddweyd, i'm goleuo, a'm harwain i bob gwirionedd, ac i ddweyd yr hyn a fyddo er adeiladaeth: wedi hyny ymddibyno arno am bob gair; ac wedi gorphen, yr wyf yn diolch i Dduw am ei nerth. Ai nid fel hyna y gwnewch chwi? Pe gwnawn astudio pregeth yn flaenorol, rhyfyg fyddai gofyn am i'r Ysbryd i'm harwain i ddweyd yn ol ei feddwl. "Na ragfyfyriwch beth a lefaroch," oedd cyfarwyddyd Crist; yn ol hyny yr wyf fi yn gwneyd. Yn awr, gan nas gallaf brofi y pethau uchod, heb gael cyfleusdra, dymunaf arnoch yn ostyngedig i wneyd eich goreu droswyf, fel dyn o ddylanwad, er cael pregethu yn un o'ch capelau. Clywed oddiwrthych yn mhellach a hoffwn yn fawr.

"Yr eiddoch, Barch. Syr,

"Gyda pharch a gostyngeiddrwydd,

"J. DAVIS.

"At y Parch. D. Davis, Pantteg."

---

## Y MILFLWYDDIANT.

PAN y delo y mil-flwyddau,
Fe fydd canu gan y Seintiau,
Anthem bur i'r addfwyn Iesu,
'Rhwn fu ar y groes yn gwaedu.

CYDGOR.

Melys fydd goleu'r dydd,
Pawb yn rhydd yno fydd,
Pan fo Iesu yn teyrnasu,
Heb neb a'u bron yn brudd.

O, mor beraidd fydd eu lleisiau,
Wedi cyrhaedd y trigfanau;
Fe fydd yno chwarae telyn—
Canu concwest ar bob gelyn.

Gwelir Joseph Smith ac Hyrum,
Yn cydseinio i ganu'r anthem,
Efo miloedd o hil Gomer,
Rhai fu'n ffyddlon yn eu hamser.

Ac fe fydd yr apostolion,
Rhai a brofwyd yn rai ffyddlon;
Yno'n cael eu mawr ddyrchafu,
Nes fel sêr bydd eu goleuni.

Gwelir Cadben dewr y Cymru,
'N uchel iawn yn mhlith y teulu,

Wedi llwyr orchfygu'r doethion,
Ac yn llon ar fynydd Seion.

Gwelir hefyd Phillips fwyngu,
Yr hwn sy'n fugail da i'r Cymru,
Wedi cael ei etifeddiaeth,
A'r orchfygol oruchafiaeth.

Gwelir miloedd o'r rhai hyny
Sydd yn awr yn teithio Cymru,
Wedi cael eu llwyr gyfnewid
Trwy gyflawnder o'i lân Ysbryd.

*Nantyglo.* THOMAS GILES.

---

## "GWYRTH Y PASTWN"—GWIR NEU GAU?*

[At Olygwyr yr HAUL.]

MRD. GOL.,—Wrth sylwi ar eich ymddygiad yn ystod yr amser y mae Saint y Dyddiau Diweddaf wedi bod yn ein gwlad, yr wyf wedi eich gweled yn foneddigaidd o'r dechreuad, yr hyn ni welais yn ymddygiad golygyddion ereill. Clywais am danoch lawer o weithiau eich bod yn arferol o dderbyn lluoedd o ystoriau am y Saint, ond trwy eich bod yn gweled y rhai hyny mor afresymol, ac mor groes i'w gilydd, eich bod yn eu troi o'r neilldu. Y mae ymddygiad felly yn haeddu canmoliaeth. Wrth ddweyd hyn, nid wyf gymmaint am eich beio am gyhoeddi "Gwyrth y Pastwn;" canys ni ellir dysgwyl i neb fod yn berffaith bob amser; a pheth arall, nid gwyrth a gyflawnwyd gan y Saint, a siarad yn *strict*, yw y wyrth dan sylw, ond un o eiddo perchen y pastwn, yr hwn a adgyfodai y marw, nid trwy allu Duw, ond trwy allu y pastwn. Yr oedd yn eithaf wyrth, canys tystia gwraig y tŷ iddi ysgwyd y marw, ac nad oedd dim bywyd na chwyth ynddo. Hi wyddai, wrth gwrs, ei fod yn delpyn oer, ac yn hollol ddifywyd; a'r hyn a deimlodd, a welodd, ac a wybuodd oedd hi yn dystiolaethu. Pwy a wyddai yn well? Mae yn sicr, ynte, ei fod yn eithaf marw; ac y mae yn sicr hefyd iddo gael ei adgyfodi, gan wr y tŷ, trwy rinwedd y pastwn! Dyna wyrth heb un weddi—ie, dyna wyrth

* Danfonwyd yr ysgrif uchod i Swyddfa yr HAUL, ond ni welodd y Golygyddion yno yn dda ei chyhoeddi. Pa fodd y gallem ddysgwyl iddynt eiu cynnorthwyo i gael gafael ar y gwir, tra byddai yn beryglus i golli y "dorth?" Chwarae teg i bawb. Mae groesaw i Mr. Dieithr, os myn, i'n hateb yn ein cyhoeddiad ein hunain.—GOL.

fwy gwyrthiol nag un o eiddo Iesu Grist a'i apostolion. Y mae yn werth i gael gwybod mwy yn ei chylch, ynte; canys os yw y Beibl yn enwi personau, ac yn fanwl wrth adrodd y gwyrthiau gynt, y mae eisieu cael gwybodaeth helaethach o wyrth gymmaint fwy ei maint ag sydd wedi dygwydd mor agos atom â'r Casnewydd. A ellir dim cael gafael ar enwau yr apostolion, a gwr y tŷ fu yn defnyddio pastwn mor rhinweddol? Ac am y wraig, dylem gael ei henw wrth y dystiolaeth, fel y gallom gael sicrwydd o'r wyrth. Dylid cael gwybod am y tŷ, a pha mor "ddiweddar" y cymmerodd y wyrth le. Fe welir yn awr, mai eisieu hanes helaethach sydd yn cyfansoddi y bai mwyaf ynoch chwi wrth ei gyhoeddi. Gobeithio y bydd hyn o linellau yn foddion i gael hanes mwy cywir a manwl ynghylch y wyrth. Mae "Seren Gomer" yn dweyd mai nid apostolion, ond prophwydi, oedd y dynion a fu yn ymofyn am letty. Heblaw hyn, y mae llawer o bethau ereill yn groes yn yr hanesion am y wyrth, yr hyn sydd yn peri i mi wan-obeithio nad yw y wyrth hon ddim yn ddigon gwir a "*chyhoeddus*"—ddim mor wir a "chyhoeddus" â gwyrthiau y Testament Newydd. Dymunaf gael fy moddloni ag hanes mwy manwl am y wyrth dan sylw yn eich rhifynau nesaf.

Yn awr, caniatewch i mi ofyn ychydig o ofyniadau i Mr. Dieithr, o Ferthyr-Tydfil, yr hwn sydd yn rhoddi hanes y wyrth yn rhifyn Chwefror o'r HAUL:—

1. Pwy rai o'r Saint sy'n dweyd iddynt weled Duw?

2. Pa eglwys yn y wlad sydd yn arfer "ffrwyth y winwydden," heb ddim arall am ei ben? a phwy a ddywedodd "na ddylid byth mwy yfed o ffrwyth y winwydden yn y Sacrament," gan y Saint?

3. Pa faint o ddaioni a wnaeth Roberts o Rymni a Davies o Ddowlais wrth areithio yn erbyn y Saint? A ellir enwi rhyw un a gollodd y Saint o'r herwydd? Neu, a ellir profi nad oes ugeiniau yn Merthyr a Dowlais yn tystio y dydd heddyw mai y ddau uchod fu yr offerynau i agor eu llygaid hwy i ganfod gwirionedd crefydd y Saint?

4. Pa mor fychan oedd y Llyfr Mormon yn llaw Mr. Rowland, Merthyr, wrth bregethu? ac yn mha bridd y cafodd ei gladdu?

5. Pwy oedd y pregethwr o eiddo y Saint a aeth ymaith o dŷ a fu yn pregethu ynddo yn Nghastellnedd, heb yn wybod i fobl y tŷ, gan gymmeryd digon o ymborth am ddeuddydd gydag ef, heb eu cenad? Beth oedd ei enw? a pheth oedd enwau y bobl oedd yn byw yno, ac enw'r tŷ? canys y mae'r Saint yn methu cael un

hanes am danynt yn Nghastellnedd.* Dylech chwi, Mr. Dieithr, ymdrechu rhoddi y *particulars* i'r cyhoedd, fel na fyddo dyn drwg felly yn *ddyeithr* (fel eich hunan) o hyn allan.

Atebion buan i'r uchodion a'm boddlonant yn fawr; ac os bydd modd, dymunwn gael y dernyn a deitlir "Gwrando ar chwedlau drwg," yn nhud. 36 o'r un rhifyn, wedi ei wau yn yr atebion.

Yr eiddoch yn ostyngedig,

*Caerfyrddin.* J. Davis.

O.Y.—Os na all Mr. Dieithr gael allan enwau yr apostolion (er nad oes un apostol yn Nghymru) a fu ynglyn â gwyrth y pastwn, cyngoraf ef i fynu gafael yn Hanes Taith Mon. Violet yn Misscuri, yr hwn a rydd hanes am ddechreuad y stori dan sylw, yr hon a ddyfeisiwyd gan forwyr er treio eu sgil i gelwydda am y goreu. Daeth y stori hono o'r America i Loegr, ac er ys tair blynedd yn ol y mae yn Nghymru, yn cael eu gwella yn barhaus, ac yn dyfod yn fwy gwir a newydd bob dydd.

---

## GWOBR Y DOSPARTHWR FFYDDLAWN.

Pa beth yw y wobr a roddir i'r Dosparthwr ffyddlawn? Ai rhifyn y mis am werthu rhyw nifer benodedig? O, nage; y mae y dosparthwr yn deilwng o wobr well. Os yw y pregethwr yn cael ei wobrwyo am bregethu yn gyhoeddus, a yw y dosparthwr ddim yn cael ei wobrwyo am bregethu yn ddirgelaidd? Er fod y blaenaf yn cael mantais i wneuthur daioni mawr, etto mae gan yr olaf fantais i wneuthur cymmaint, os nad mwy. Os yw y dosparthwr yn gwasgaru llyfrau defnyddiol, y rhai a fyddant yn cynnwys egwyddorion er dwyn dyn o dywyllwch i oleuni, y mae yn foddion i argyhoeddi llaweroedd; a phwy bynag a droa rhyw un o gyfeiliorni ei ffyrdd, efe a ddyscleiria fel sêr y ffurfafen mewn gogoniant. Mae yn wir nad yw pob dosparthwr yn awdurdodol i weinyddu ordinhadau, etto y mae yn gwneuthur yr hyn sydd fwyaf ei bwys, sef argyhoeddi y pechadur o gyfeiliorni ei

* Yr ydym ni wedi cael sicrwydd i'r Saint ddanfon y dyn a'r gloch trwy holl heolydd Castellnedd, a dau o'r Saint yn ei ganlyn, i gyhoeddi os oedd rhywrai yn y dref yn gwybod rhywbeth am yr ystranc uchod, am iddynt enwi y ty lle dywedir iddi gymmeryd lle, ac enwau y dynion oedd yn byw ynddo; ond er yr holl gyhoeddi hyn, ni allai neb feiddio dangos y ty, nac enwi y personau! Canmolwyd y Saint gan bawb am eu penderfyniad i ddynoethi y fath gelwyddau gwaradwyddus.—Gol.

ffyrdd. O! fel y mae y dosparthwr yn gweithio. Efe a â at ddrws ei gymmydog, ac a'i hannog i brynu ei gyhoeddiad; dywed wrtho y gwna hwnw ddweyd pethau wrtho yn fwy medrus o lawer nag y gall ef. Llwydda fynychaf i werthu ei gyhoeddiad; ac yna â'r prynwr yn ei ol i'w dŷ, ac a ddarllena egwyddorion teyrnas Dduw, heb fod neb braidd yno yn ei weled, nac yn peri iddo gywilyddio wrth wrandaw ar ei bregethwr dystaw, yr hwn sydd yn ei bwlpud yn barhaus. Mae y llyfr yno yn llefaru pethau mawrion, heb erioed fod wedi troseddu y cyfreithiau y mae yn ddysgu. Ymresyma yn barhaus heb fod yn gynhyrfus; os dygwydda y darllenydd weithiau ddigio wrth ei bregethwr, nid yw ef byth yn digio yn ol; O, nac yw, y mae yno yn aros ei feistr i ddyfod i well pwyll, fel y gallo wrandaw drosto ei hun dro arall. Nid hyn yn unig y mae'r desparthwr yn effeithio; ond trwy ei ddiwydrwydd a'i ffyddlondeb y mae yn cynnorthwyo gweision ei gydgenedl i roddi mwy o ddysgeidiaeth werthfawr i'r byd, canys heb y dosparthwr ffyddlawn, attaliai y cyfan, a llawer a drengent o eisieu gwybodaeth. Mae y dosparthwr fel chwythwr yr organ: er chwarae o'r organydd yn fedrus, rhaid iddo ddweyd mai "NI" sy'n cynnyrchu y beroriaeth, am na all wneyd dim heb y chwythwr. Ac os bydd rhywun yn holi paham yr arferwn ninnau y "*ni*" mor aml, dywedwch fod y gair yn cynnwys y dosparthwr hefyd. Pwy a ddywed, ynte, os cawn *ni* ein gwobrwyo, na cha y dosparthwr ei wobrwyo hefyd? Byddwn NI ein deuoedd, ynte, yn ffyddlawn bob amser, fel y byddwn addas yn y diwedd i dderbyn ein gwobr.

---

## AT Y PARCH. THOS. PRICE, ABERDAR.

BARCHEDIG SYR,—Gwelsom yn ddiweddar lythyr oddiwrthych, at ein brawd John Pugh, o Aberdâr, yn rhoddi cynnyg dyfod i ddadl â "genau cyhoeddus" y Saint yn Nghymru, ynghylch prif egwyddorion ein crefydd. Dywedwch y bydd yn hyfrydwch genych i gymmeryd rhan mewn dadl gyhoeddus, er cael allan dwyll a rhagrith Saint y Dyddiau Diweddaf, ond cael y ddadl ar dir teg a rhesymol; ac er cael dadl deg a phwrpasol, dywedwch hefyd y bydd yn wir angenrheidiol cael egwyddorion sylfaenol Mormoniaeth, &c., wedi eu nodi yn oleu a manwl mewn ysgrif. "Rhaid," meddwch hefyd, "cael yr ysgrif hon wedi ei llaw-nodi gan brif swyddwyr y Mormoniaid yn Nghymru, fel na bydd achos

i'r dadleuwyr guro yr awyr, a threulio amser yn ofer i drafod 'cath mewn cwd,'" &c. Mae hyna oll yn deg iawn; eithr cynghorasom J. Pugh, pan ddaeth a'ch llythyr atom, i adael dadl gyhoeddus felly yn llonydd, na wnelai ond creu anghariad rhwng dynion a'u gilydd, a pheri i'r goleuni fod yn fwy tywyll nag o'r blaen. Mae dadl fawr Rymni yn dyfod i'n cof, ynghyd â'i chanlyniadau. Yr ydym ni, dros y prif flaenoriaid yn Nghymru, yn dymuno cynnyg gwelliant ar eich cynnyg boneddigaidd chwi; ac yn hytrach na "churo yr awyr" â'n tafodau, fod i ni osod ein pinau ysgrifenu mewn brwydr, yr hon a ellir gario yn mlaen heb dywallt gwaed nac eiddigedd. Yr ydym yn cynnyg ein cyhoeddiad yn faes i'r frwydr, ac yn foddlon i daraw yr ergyd cyntaf ar y man addasaf i ddechreu, ac yna i bob un daraw ei ergyd bob newyddloer, fel na bo un o honom yn syrthio yn rhy ddisymmwth Mae ysgrif o'n heiddo ar "Athrawiaeth Bedyddiadau," yn ein rhifyn diweddaf; a chan fod hono yn cynnwys un o'r pynciau a enwasoch, ac yn un o'r egwyddorion cyntaf a ddylid drin, caiff fod yn ddechreu brwydr rhyngom, os ydych chwi yn gweled hyny yn deg. Ac am hyny, os ydych yn ewyllysio "dadl deg a chyhoeddus," ac "ar dir teg a rhesymol," ac â rhai sy'n "enau cyhoeddus" i'r Saint, ac â rhai sy'n foddlawn rhoi cyfarwyddiadau (ond anfon atom lythyr cyfrinachol) i ymholi am eu "cymeriadau da" yn mysg cyfeillion lawer o enwadau ereill, fel na fydd achos i chwi lychwino eich "dillad glân" wrth eu trafod—os ydych am ddadl ar y telerau hyny, meddwn, ysgrifenwch sylwadau ar "Athrawiaeth Bedyddiadau" yn ein rhifyn diweddaf, ond gofalwch rhag meithder, ac ymrwymwn yn gyhoeddus fel hyn i osod eich ateb yn yr UDGORN nesaf. Os ydyw hyn yn deg, dysgwyliwn i chwi ymosod ati; os yn annheg, dymunwn wybod: eithr deallwch hyn, na foddlonwn ni i ymddadleu â chwi ond ar bapyr yn unig, a hyny "yn ngwyneb haul a llygad goleuni."

Yr eiddoch yn barchus a gostyngedig,

*Merthyr, Ebrill* 17, 1849. Y GOLYGYDD.

---

## NODAU PREGETHWYR.

MAE y Parch. W. R. Davies, o Ddowlais, wedi dyfod i wybodaeth o'r diwedd, fod Duw wedi ei anfon i bregethu yr efengyl; a'r dull a'r modd y daeth i wybod hyn yw, o herwydd ei fod yn dwyn y nodau anghenrheidiol sydd i fod ar weision Duw, cyn y byddont

yn addas i waith y weinidogaeth. Haerai Mr. Davies dros y pwlpud, yn nghapel Elim, Penydaren, nad côt ddu a napcyn gwyn oedd nodau gweision Duw, ac na wnaent y tro etto ychwaith; ac, ebe efe hefyd, "Profodd gweision Duw eu hanfoniad yn mhob oes; Elias a brofodd ei anfoniad ar fynydd Carmel, Moses yn yr Aifft, ac felly yn y blaen; ac ni chaiff neb ddyfod i'r pwlpud hwn ychwaith, heb iddo yn gyntaf brofi fod Duw wedi ei anfon; a'r dull y gall brofi hyn yw, trwy ddwyn llythyr wedi ei arwyddo gan ddynion parchus o'r eglwys y perthyna iddi!" Ac felly, profodd Mr. Davies fod Duw wedi ei anfon, o herwydd fod dynion parchus yn sir Benfro wedi tystio ei fod ef yn weinidog yno cyn dyfod i Ddowlais! Hynod, onide?

*Dowlais.* ALFRED CLARK.

[Tra mae dysgeidiaeth fel hyn yn flasus genym, gobeithiwn y gofala pob gohebydd, ar ei berygl, i beidio cam-ddarlunio dywediadau ein cyfeillion parchedigol; a rhag ofn hyny, dysgwyliwn enw priodol pob gohebydd wrth ei ysgrif, a rhoddwn ninnau yr UDGORN yn agored i amddiffyniad.—GOL.]

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR FYNWY.

CAFODD Cymmanfa sir Fynwy ei chynnal yn Nantyglo, ar yr 8fed o Ebrill. Wedi agor y cyfarfod haner awr wedi deg gan y Llywydd, ac anerch y dorf, cynnrychiolwyd y cangenau, y rhai sydd yn 14 (heblaw y ddwy a drosglwyddwyd i Gynnadledd Ddwyreiniol Cymru), ac yn cynnwys 34 o henuriaid, 29 o offeiriaid, 30 o athrawon, a 16 o ddiaconiaid; 191 wedi eu bedyddio er y gymmanfa ddiweddaf; y cyfanswm yn 563. Cynnydd er y gymmanfa o'r blaen, 92. Wedi hyny galwyd ar Hen. W. Phillips i anerch y cyfarfod, yr hyn a wnaeth mewn araeth fywiog a rhagorol; ac wedi cael cymmeradwyaeth i'r holl swyddogion, terfynwyd y cyfarfod boreuol.

Am ddau, wedi galw swyddogion, a rheoleiddio dwy o gangenau newyddion, galwyd ar y brawd Phillips, yr hwn, yn mhlith pethau ereill, a annogodd y Saint trwy y gynnadledd hon, fel pob un arall trwy Gymru, i roddi llaw o gynnorthwy at y gwaith gogoneddus hwnw o adeiladu teml i Dduw yn nyffryn y mynyddoedd; a dymunodd ar y llywyddion i ofalu am hyny yn mhob cangen. Yna gwnaed cof am Iesu Grist, a therfynwyd.

Yn y cyfarfod cyhoeddus, am chwech, pregethodd amryw o'r brodyr yn fedrus ac effeithiol; ac fel hyny diweddwyd cymmanfa chwarterol arall, yn yr hon y derbyniwyd llawer o ddysgeidiaeth werthfawr i bawb.

THOMAS GILES, *Llywydd*,
DAVID JONES, *Ysgrifenydd*.

SIR FORGANWG.

Ar y 15eg o Ebrill, cynnaliwyd Cymmanfa Morganwg, yn y lle arferol yn Merthyr. Agorwyd y cyfarfod cyntaf am hanner awr wedi deg gan y Llywydd; ac yn fuan galwyd am gynnrychioliad y cangenau, y rhai oeddynt yn 29 mewn rhifedi, ac yn cynnwys 90 o henuriaid, 98 o offeiriaid, 86 o athrawon, a 38 o ddiaconiaid; wedi eu bedyddio er y gymmanfa olaf, 306; cyfanrif yn 2139, (heb gyfrif yr ymfudwyr). Y cynnydd er y laf o Ionawr, yw 233. Yna dangosodd y Llywydd ddyledswydd yr holl swyddogion i adnabod eu lleoedd, ac am i bob un beidio cymmeryd ei arwain gan ddiafol i ddyrchafu ei hunan, ac i feddwl ei fod ef yn addasach i lywyddu na'r hwn fyddo wedi ei osod; ac o'r ochr arall, am i bob llywydd i beidio tybied ei hunan yn rhy wael, ac fod ereill dan ei lywyddiaeth yn addasach i'r gwaith. Wedi hyn galwyd llawer o swyddogion, a thraddododd y brawd Howells o Aberdâr araeth Saesneg; ac yna terfynwyd yr oedfa.

Wedi agor y cyfarfod am ddau, penderfynwyd rheoleiddo Bro Morganwg yn Gynnadledd, dan yr enw Cynnadledd Orllewinol Morganwg (yn cynnwys cangenau Pontfaen, Drym, Cwmbychan, Llwyni, Bryn, Peel, Cyfyng, Wig, Alltwen, Ystradgynlais, Coedygarth, Castellnedd, Abertawy, a Threboth); a bod Thos. Pugh i fod yn Llywydd, a Hopkin Mathews ac Evan Williams, Cwmbychan, yn Gynghorwyr; ac hefyd fod y Cynghor i'w gynnal yn Nghastellnedd. Yna wedi cael cynghorion buddiol, a chyfranu o swper yr Arglwydd, gosododd y Llywydd achos y deml yn Seion o flaen y Saint, gan eu hannog i gyfranu yn ol eu hewyllys i'w hadeiladu. Penderfynwyd fod John Davis, argraffydd, Merthyr, i dderbyn y cyfryw gasgliadau o bob cynnadledd trwy Gymru, a'u danfon i'r Llywydd Orson Pratt. Galwodd y Llywydd hefyd sylw yr holl lywyddion at yr hyn a benderfynwyd yn y Cynghor o flaen y Gymmanfa ddiweddaf, sef fod pob cangen yn gyfrifol i lywyddion y cynnadleddau am yr holl lyfrau a dderbynir ganddynt, a'r un modd y cynnadleddau i'r cyhoeddwr; a phenderfynwyd yn unfrydol i gario hyny yn mlaen. Yna wedi

dewis J. Phillips, Pontytypridd, yn Gynghorwr i Wm. Phillips, yn lle Thos. Pugh, cauwyd y cyfarfod fel arferol.

Am chwech, pregethodd amrywiol frodyr yn Gymraeg a Saesneg, yn Merthyr a Georgetown, i gynnulleidfaoedd lliosog iawn; ac felly terfynwyd cymmanfa nad ydys yn cofio nemawr ei gwell.

W. PHILLIPS, *Llywydd*,
J. DAVIS, *Ysgrifenydd*.

---

## AMRYWIAETHAU.

DADGUDDIO DIRGELWCH.—Mewn ysgol Sabbothol, yn un o gapeli Dowlais, yn ddiweddar, rhoddwyd adnod i'r ysgolheigion i'w hesbonio; a'r adnod dan sylw oedd, "Gwyn fyd y rhai addfwyn, canys hwynthwy a etifeddant y ddaear." Methodd yr ysgolheigion a chael allan y dirgelwch, nes cael y gweinidog yno, yr hwn pan ddaeth a agorodd ei enau mewn doethineb, ac a ddadguddiodd iddynt y dirgelwch fel y canlyn:—"Mae gan y frenines filwyr yn y lle hwn, onid oes?" "Oes," oedd yr atebiad. "Ystyriwch fod y rhai'n yn cael gorchymyn i fyned i ryfel, a chael eu lladd yn y rhyfel; felly, trwy eu haddfwynder yn myned wrth y gorchymyn, etifeddant y ddaear trwy gael eu claddu ynddi." Dyma, meddai y parchedig, yw meddwl yr adnod!—*A. Clark.*

FFRAETHINEB.—Blinid un o'r Saint gan gyfeilles sectyddol, trwy ofyn iddo yn fynych, "Pa bryd yr wyt yn myned i Jerusalem?" Rhyw amser wedy'n, adroddai y gyfeilles, mewn carol Nadolig, ei bod "yn myn'd i Bethle'm dref;" yna y Sant a geisiai ganddi i alw gydag ef wrth fyned, o herwydd y gallai gael cwmni hyd *Jerusalem*.

CLOCHYDD A SANT.—Boddlonai un o'r Saint brofi i glochydd barhad "apostolion" yn eglwys Crist, ar yr ammod iddo yntau brofi *gosodiad* "clochyddion" ynddi. Ciliodd y clochydd.

DIGRIF.—Dywedodd merch ieuanc yn ddiweddar, y mynai hi ei chladdu yn y fynwent newydd, o herwydd ei bod yn decach ac yn *iachach* lle nâ'r hen fynwent.

"FFWL EBRILL."—Dywedir wrthym ni, fod y 4ydd adnod o'r ddegfed bennod o lyfr Esther, yn crybwyll am ddechreuad yr arferiad ffol hwn. Gwell i bawb edrych yno drostynt eu hunain, canys mae ein hamser ni yn brin, a'n Beibl ddim wrth law.

BARGEN.

Os gweli rywbeth rhad a da,
Cymmera hyn o gynghor,
Ei fod yn ddrud am unrhyw bris,
Os gall dy flys ei hebgor.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 5.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

CYF. I.] MAI, 1849. [PRIS 2g.

### CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;
AR WERTH HEFYD
Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr,
trwy y Deau a'r Gogledd.

1849.

*At Olygydd Seren Gomer.*—Mewn atebiad i'r hyn a ofynodd ef i ni, yn ei rifyn am Fai, ynghylch "Ofergoeledd y Seintiau," cyhoeddwn a ganlyn iddo o'r *Weekly Times*:—"Syr,—Yn eich papyr defnyddiol am y laf o Ebrill, ymddangosodd hanes am bregethwr o'r enw Bayliss, yn byw yn Cheltenham, yn hudo benyw o'r enw Holder, y rhai, mae yn debyg, a broffesent fod yn aelodau yn eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf. Caniatewch i mi ddweyd, nad oes un o honynt yn aelodau yn yr eglwys hono. Ni fu hi erioed yn aelod: fe fu ef unwaith, ond cafodd ei ysgymuno am gamymddygiad er ys dwy flynedd yn ol, oddiar pa bryd y mae wedi gwrthwynebu, ac areithio yn erbyn y Saint, y rhai a ystyriant y weithred waradwyddus ddiweddar yn droseddiad o bob cyfreithiau, dynol a dwyfol. Trwy osod hyn yn ngholofnau eich papyr, cyflawnwch weithred gyfiawn, a boddlonwch, yr eiddoch yn barchus, T. BROWN.
"Bedford, Ebrill 7, 1849."

LLYTHYR O AMERICA.—Yr ydym newydd dderbyn llythyr o New Orleans, oddiwrth ein hanwyl Gapt. Jones a'i Saint. Y maent wedi cyrhaedd yn ddiangol. Bwriadai ein brawd Jones ei gyhoeddi yn yr Udgorn, ond llanwai hwnw ei hunan; a gorfodir ni i'w gyhoeddi yn lyfryn gwerth ceiniog neu ddwy, yr hwn a ddanfonir ymaith ar ol, os nid gyda'r Rhifyn hwn. Cynnwysa hanes bob dydd yn ei ddydd, a bydd yn lyfryn gwerthfawr i'r Saint a fwriadant ymfudo. Derbyniasom hefyd lythyr hir oddiwrth ein hen gyd frawd, Thos. Jeremy, gynt o Lanybydder, yr hwn a gyhoeddwn hefyd yn fuan.

☞ Dysged y Saint ddigon o dônau da yn barod, canys fe fydd y Llyfr Hymnau yn eu dwylaw yn fuan. Mae y drws heb ei gau etto i dderbyn hymnau newyddion o waith y Saint. Os na ddaw allan gyda'r Rhifyn nesaf, beier y llythyron o'r America.

☞ Meddyliwn sylwi ar Mesmerism yn y nesaf, os nid ar y Bibell hefyd.

☞ J. W.—Mae yn anmhosibl i ni sylwi ar Farwolaethau mewn cyhoeddiad mor fychan. Pe sylwem ar neb, gwnaem hyny ar farwolaeth ein ffyddlawn frawd, Samuel Morris, llywydd Georgetown, ar ddechreu y mis hwn.

☞ T. D.—Os yw y brawd hwnw yn ymdderchafu trwy bregethu pethau mawr, ac am fod yn mlaenaf yn mhob lle, mae yn llawn bryd iddo gael ei ddwyn i'r Cynghor. Gwna fwy o ddrwg na'i werth.

☞ Gohebiaethau A. Evans, D. ap Iago, &c., yn y nesaf.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 5.] MAI, 1849. [CYF. I.

## Y "DONIAU YSBRYDOL" YN MRAWDLYS Y GELYN.

### "YMADRODD DOETHINEB."

Yn awr yr ydym yn barod i sylwi ar "ymadrodd doethineb," fel y ddawn gyntaf o'r Doniau Ysbrydol, ag sydd yn cael ei barnu yn mrawdlys y gelyn. Mae digon yn enw y ddawn hon er cael allan y gwirionedd am dani, i'r rhai sy'n feddiannol ar ychydig o synwyr cyffredin. Duw sydd yn ei chyfranu, ac y mae yn deilliaw oddi uchod trwy yr Ysbryd. Geill dyn dreulio ei oes mewn coleg, ac wedi y cwbl ddyfod allan yn amddifad o ymadrodd doethineb; canys nid yw y coleg yn addasu mwy ar ddyn i dderbyn rhoddion o'r nef, nag yw y beudy. Yr oedd y Groegwyr yn ceisio doethineb, ac yn ei chael; ond o ba le? Nid oddiwrth Dduw, ond oddiwrth yr athrofeydd. Am y ddoethineb ddynol hon, yr haera y Mormoniaid "mai ynfydrwydd o'r mwyaf yw meddwl ei bod yn angenrheidiol i bregethu yr efengyl." "Diammau," fel y dywed Mr. Sylwedydd (yn *Seren Gomer*, Hyd 1848), "fod yr holl Apostolion, a chyhoeddwyr yr efengyl, yn cael eu cynnorthwyo gan yr Ysbryd Glân (trwy ymadrodd doethineb), yn yr hyn yr oeddynt yn ddiffygiol; megys yr oedd Crist yn annog ei ddyscyblion i beidio a rhag ofalu beth a lefarent pan ddygid hwynt o flaen y penaethiaid, am y byddai i'r Ysbryd Glân eu dysgu yn yr awr hono beth a ddywedent. Yr oedd yr Apostolion oll yn feddiannol ar ddoethineb yn mhriodol ystyr y gair." Dyna beth yw doethineb y ddawn dan sylw, ac nid dim arall; ond nid mewn coleg

y derbynid hi gan yr apostolion, onide buasai gan y Groegiaid hefyd yr un cystal. Yna, y mae'r Sylwedydd, er ceisio dangos rhagoroldeb y coleg ar y dull apostolaidd o addasu dynion i'r weinidogaeth, yn gwneuthur "ymadrodd doethineb" yn "lefaru â thafodau dyeithr!" Gofyna, "Pa fodd y pregethir yr efengyl i'r byd heb ddysgeidiaeth, ac adnabyddiaeth o wahanol ieithoedd y gwahanol genedlaethau a'i preswyliant?" Hefyd, "Os ydyw y Mormoniaid am wneyd heb ddoethineb, neu ddysgeidiaeth [ieithyddol, wrth gwrs], pa fodd y pregethant eu hefengyl i'r byd? A bregetha rhai o'u pregethwyr Cymreig yn yr iaith Saesonaeg, a hwythau heb feddu yr adnabyddiaeth leiaf â'r iaith hono o'r blaen? Os dywedant na wnant, atebaf finnau mai dyna fel yr oedd yr apostolion yn gwneyd; ac os ydynt yn hawlio yr un doniau a medrusrwydd â'r dewrion cyntefig a bregethent efengyl y deyrnas, y mae yn rhaid iddynt wneuthur yr un modd." Wrth ddweyd hyna, tybia y Sylwedydd nad ellir bod yn feddiannol ar "ymadrodd doethineb," heb fod yn hyddysg mewn ieithoedd dyeithr! Beth a roddid gan yr Yspryd i'r apostolion, pan y dygid hwynt o flaen y cynghorau? Ieithoedd dyeithr, yn sicr; canys ni allai dim arall, yn ol geiriau Mr. S., fod yn ymadrodd doethineb! Beth bynag a lefarid mewn tafod dyeithr, yr oedd yn ymadrodd doethineb, wrth gwrs. Ond aroswn wrth y Sylwedydd am brawf o fod rhyw un o'r apostolion, neu eu canlynwyr, wedi bod yn *pregethu* trwy gyfrwng "ymadrodd doethineb" y tafodau dyeithr. Treied wneyd pregethu, os gall, o'r llefaru â thafodau ar y Pentecost, erbyn y deuwn i drin y ddawn o "Lafaru â Thafodau." Yn mhellach, dywed y Sylwedydd, "Yn gymmaint a bod yn ddichonadwy i bregethwyr yr efengyl y dyddiau presennol ddysgu ieithoedd gwahanol genedloedd y byd, pa eisieu eu doniau sydd â'r ddawn o lefaru tafod dyeithr, fel yr oedd yr apostolion yn cael?" Atebwn, fod cymmaint o eisieu donio glowyr a mwnwyr anllythyrenog ein gwlad, ag sy'n cyrchu i'r athrofeydd i ddysgu ieithoedd er pregethu yn yr oes hon, ag oedd eisieu donio pysgotwyr glan môr Galilea i'r un dyben yn eu hoes hwythau. Os yw yn ddichonadwy dysgu ieithoedd yn awr, yr oedd yn ddichonadwy hefyd y pryd hwnw; ac os gallai Duw ddonio yn yr amser gynt, paham lai etto? Ond dealled y darllenydd, nad ydym ni yn credu i Dduw ddonio neb erioed â'r ddawn o lefaru â thafodau, i'w addasu at bregethu; canys y mae yn ddigon rhwydd pregethu i'r gwahanol genedloedd, trwy ddechreu ar y rhai sy'n gwybod iaith

eu cymmydogion. Dyna fel y mae'r "efengyl dragywyddol" yn cyflymu dros y byd y waith ddiweddaf hon. I'r dyben o bregethu felly, cynnysgaetha Duw ei weision ag "ymadrodd doethineb," yr hwn a ystyria athrawon colegau a doethion daear yn ynfydrwydd a ffolineb. Y mae yr un mor anmhosibl i Mr Sylwedydd ddirnad "ymadrodd doethineb" yn awr, ag oedd i'r Groegiaid gynt; canys trwy yr un cyfrwng, sef athrofeydd, y mae'r ddwyblaid yn barnu y deillia gwir ddoethineb. Na feddylied neb fod y Saint yn diystyru doethineb ddynol; mae hono yn dda yn ei lle, ac yn fuddiol; ond pan elo i lanw lle doethineb Duw, ac i geisio gwneuthur pregethwyr iddo, yna mae yn haeddu ei chondemnio ar unwaith. Mae y Saint yn cefnogi doethineb a dysgeidiaeth ddynol, mor bell ag y byddo heb groesi doethineb Duw; ond pan elo doethineb ddynol i wneuthur esboniadau croeshaeriadol ar ddoethineb ddwyfol, yna mae yn llawn bryd i droi y glust fyddar ati. Gwell gosod y ddoethineb ddynol i ddilyn y ddwyfol, trwy gyd ddweyd, "Yr arwyddion hyn a ganlynant," &c., nâ gosod y ddwyfol i ddilyn y ddynol, trwy groes-ddweyd, Ni chanlynant. Pe dilynai pawb Iesu Grist, Pedr, Paul, a'r lleill, byddent yn Formoniaid gwarthus; ond trwy ddilyn y goleuni dynol a roddir i oleuo eu goleuni tanbeidiach hwy, parha dynion yn Fethodistiaid, Independiaid, a Bedyddwyr call a chymmeradwy. I brofi ein pwnc, annoger rhywun i bwlpudau ein gwlad i ddynwaredu Paul yn pregethu yr efengyl anghyfnewidiol, a chyhoeddi anathema wrth bawb a bregethai rywbeth yn amgen nâ "Deisyfwch y doniau ysbrydol," "na waherddwch lefaru â thafodau," "na ddirmygwch brophwydoliaethau," &c.; a buan y gwelid y pwlpudau yn cau pawb allan a bregethent trwy "ymadrodd doethineb" yr apostol hwnw, tra byddai croesaw iddynt pan â'u doethineb ddynol yn ammau ei eiriau! Yn awr, "Od oes ar neb eisieu doethineb, [yn hytrach na myned i'r coleg i'w hymofyn] gofyned gan *Dduw*."

### "YMADRODD GWYBODAETH."

Dywed Mr. Sylwedydd, "Tebygol mai wrth y ddawn hon y meddylid y wybodaeth oruwch naturiol ag oedd yn cael ei chyfranu i'r prophwyd Cristionogol, yr hwn a feddiannai y ddawn o brophwydoliaeth y sonir am dani yn 1 Cor. xii, 10. Yr oedd y ddawn o ymadrodd gwybodaeth yn fath o ysbrydoliaeth i egluro y prophwydoliaethau yn gywir, o herwydd yr hyn ei gelwir, yn

pen. xiii, 2, yn *brophwydo.* Ond wrth y ddawn hon, y mae y Capt. Jones yn golygu, y '*sierwydd*' ag y mae yr Ysbryd Glân yn ei roddi i blant Duw o u bod yn blant iddo, ac yn aelodau yn ei eglwys. Mewn gwrthwynebiad i hyna, dywedaf, mai yr hyn ag oedd yn profi iddynt eu bod yn aelodau yn eglwys Dduw, oedd y gwyrthiau ag yr oeddynt wedi eu gweled cyn eu hymuniad â'r eglwys, neu y doniau, sef yr oll gyda'u gilydd, ag yr oeddynt wedi bod yn dystion o honynt." Dyna ddweyd rhagorol, onide? Os yw y Captain yn dweyd mai *sicrwydd* yw "ymadrodd gwybodaeth," tybia y Sylwedydd mai *prophwydoliaeth* ydyw! A wyr y dynion bach hyn am beth y siaradant? Beth bynag sydd yn wybodaeth, mae yn ddiau ei fod yn sicrwydd; ac os yw plant Duw yn gwybod eu bod yn eiddo iddo, dyna wybodaeth (mewn "ymadrodd," os mynwch), a lle bo gwybodaeth mae sierwydd yno hefyd. Lle byddo prophwydoliaeth, ni fydd yno sicrwydd nes y delo i ben; a lle na bo sierwydd, nid oes yno lawer o wybodaeth. Mae "gwybodaeth" yn dyfod i ran pob un o'r Saint, yn ol yr addewid (Ioan vii, 17); eithr "*ymadrodd* gwybodaeth" a renir o'r neilldu i'r sawl a ewyllysio yr Ysbryd, fel y gallont ddysgu i ereill "beth sydd yn rhaid iddynt ei wneuthur i fod yn gadwedig." Fe welir fod y wybodaeth hon yn meddiant pawb, ond nad yw pawb yn cael ymadrodd i gyhoeddi eu gwybodaeth. Pa fodd y daeth y Sylwedydd i ddeall mai gwyrthiau oedd y sicrwydd a feddai dynion gynt o'u bod yn blant i Dduw? Ai gwyrthiau a feddyliai Crist yn yr addewid, pan y dywedai, "A chwi a gewch wybod am y ddysgeidiaeth?" Ai nid yr Ysbryd Glân sydd yn cyd-dystiolaethu â'n hysbryd ni, ein bod yn blant i Dduw? Pe gwyrthiau fyddai sicrwydd plant Duw, beth fyddai eu sicrwydd pe deuai y gau-brophwydi i dynu tân o'r nef yn eu golwg? Y rhai sydd yn gwybod eu bod yn blant Duw, nid trwy wyrthiau y daethant i wybod hyny, ond trwy fod eu Tad yn rhoddi ei Ysbryd i ddadguddio hyny iddynt. Dywed ein Sylwedydd mai y "prawf goreu i wybod pa un a ydyw dyn yn blentyn i Dduw ydyw, drwy iddo chwilio ei hunan, a ydyw efe yn caru Duw a'r brodyr." Geill llawer un chwilio ei hunan am ei oes, a charu ei frodyr â'i holl galon, ac wedi y cyfan tybied ei fod yn gwasanaethu Duw, fel Saul o Darsus gynt, pan yn erlid ei blant! A all Mr. S. enwi rhyw un a adnabu ei hun yn blentyn i Dduw, yn mhlith y Methodistiaid, trwy chwilio ei hunan, a charu Duw a'r brodyr? Os nad yw y "doniau ysbrydol yn anhebgorol angenrheidiol er

iachawdwriaeth," mae yn ddiau fod adnabyddiaeth ddadguddiedig yn anghenrheidiol; canys "hyn yw y bywyd tragywyddol, iddynt dy *adnabod* di yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist." A phwy a feiddia ddweyd mai Crist yw yr Arglwydd, neu ei fod ef yn ei adnabod, ond trwy "eglurhad yr Ysbryd?" Os nad oes gan Mr. Sylwedydd, ac enwadau ein gwlad, adnabyddiaeth felly o Dduw a'i Fab, ofer yw eu holl gred, eu hofn a'u dychryn, eu rhith gariad, eu croes-esboniadau, eu hathrofeydd, eu gwyneb hir, eu parchedigion doeth, eu taerineb am arwydd, a'u casineb at "Sataniaid"—nid yw y cyfan yn amgen nâ dynion "yn dysgu bob amser, ac heb allu dyfod un amser i *wybodaeth* y gwirionedd;" "a chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi."

"FFYDD."

"Ffydd" yw y drydedd ddawn sydd wedi ymddangos yn mrawdlys y gelyn. Mae yn dda genym am ffydd, canys trwyddi hi y daethom i sicrwydd am y pethau a obeithiem; a mynwn chwarae teg iddi, os gallwn. Dywed Mr. Sylwedydd fod "ffydd" yn euog o fod yn ffydd farw, yn ffydd wyrthiol, ac yn ffydd gadwedigol; a'i bod felly yn fwy nag un. Yn awr, gofynwn beth yw ffydd farw? Wel, credu y gallwn gael maddeuant pechodau trwy fedydd, a pheidio ufyddhau wed'yn, yr hyn yw ffydd heb weithredoedd. Beth yw ffydd wyrthiol? Dim mwy na chredu y gall Duw iachâu rhywun, mor rhwydd â maddeu ei bechodau. Wel, beth yw ffydd gadwedigol? Yr un peth â'r ffydd gyntaf cyn iddi farw, a'r un peth â'r ail pan mewn gweithrediad. "Beth *bynag* oll a geisioch wrth weddio, *credwch y derbyniwch*, ac efe fydd i chwi," meddai Iesu Grist. Os bydd rhywun am faddeuant, creded y derbynia; os bydd rhywun am nerth, creded y derbynia; os bydd rhywun am yr Ysbryd yn eglurhaol, creded y derbynia; os bydd rhywun am gariad, creded y derbynia; os bydd rhywun am wella ei goes, creded y derbynia; os bydd rhywun am wlaw, creded y derbynia; a chan fod pob peth mewn addewid, dywedwn, os bydd rhywun am arwydd, creded y derbynia; "canys pob peth all fod i'r neb a *gredo*." Yn awr, fe ddeallir fod eisieu mwy o ffydd i wella coes, nag i dderbyn maddeuant; ac fod eisieu mwy drachefn i symud mynydd, nag i wella coes: ond pwy ddealla fod hyny yn gwneyd mwy nag un ffydd? Y graddau, neu y gwahanol weithrediadau o eiddo un ffydd, sydd yn achosi i'r Sylwedydd, feddyl-

iwn ni, ei gweled yn dair. Mae gan bawb braidd sy'n ufyddhau i fedydd, ddigon o ffydd i dderbyn maddeuant; ond mae y ffydd hono i gymmaint graddau gan rai, fel y gellir ei chanfod trwy y ddawn o "wahaniaeth ysbrydoedd," ac y maent yn derbyn iechyd trwyddi yn ddiattreg, fel y gwr cloff o Lystra (gwel Act. xiv, 8, 9). Wedi "*gweled* fod ganddo ffydd i gael iechyd," y gorchymynwyd i hwnw sefyll ar ei draed. Mae ffydd nerthol felly yn rodd oddiwrth Dduw i rai, tra mae ereill yn gorfod boddloni ar gymmaint o ffydd ag sydd eisieu i gael cymhorth Duw i barhau gyda ei waith. Mae ffydd yn wahanol iawn yn ei maintioli mewn dynion; gall yr hwn sy'n feddiannol ar gymmaint â gronyn o had mwstardd, ddweyd mai efe yw "i *arall* ffydd;" ond pwy a ddywed fod yr hwn sydd wedi credu yr efengyl, yn amddifad o ronyn sy'n llai o'r ffydd hono? Gronyn o faintioli neillduol a ystyria yr Ysbryd yn rodd neu yn "ddawn;" canys y mae mor haelionus, fel nad ystyria ronyn sydd lawer yn llai na gronyn o had mwstardd o ffydd, yn deilwng o'r enw. Ac heblaw hyny, y mae ffydd, yn gyffredin, yn beth sy'n cael ei gynnyrchu gan ddyn ei hunan, fel yr awgryma Crist wrth dad y bachgenyn mud a byddar, sef, "Os gelli di gredu" (Marc ix, 23); ac mae ffydd felly yn ofynol yn mhawb er eu derbyn i'r eglwys, ac hefyd er eu cynnorthwyo i'w chynnyddu, trwy dynu gronyn oddiwrth yr Ysbryd ati i'w gwneyd yn *ddawn* o ffydd. Gallwn gyfrif i'r Sylwedydd paham nad oedd y deg hyny a ddaethant at Grist i'w glanhau, yn feddiannol ar ffydd yn gadwedigol: yn union wedi iddynt hwy osod eu ffydd mewn gweithrediad i dderbyn iechyd, gollyngodd naw o honynt eu ffydd i farw, fel na allent gredu dim yn ychwaneg. Pe parhaent i gadw eu ffydd yn fyw, a chredu pethau ereill, gyda chredu er cael iechyd, gallent fod yn eithaf cadwedig. Felly, y mae yn ddigon eglur bellach, mai yr un ffydd a weithredir gan y garddwr wrth hau ei had, gan gredinwr wrth ufyddhau i'r efengyl, a chan blentyn i Dduw wrth geisio iechyd, ag oedd gan Dduw ei hunan pan yn dywedyd "Bydded" wrth y greadigaeth; gyda hyn o wahaniaeth, fod y ffordd o'r blaenaf i'r olaf "o ffydd i ffydd," nes cyrhaedd perffeithrwydd.

### "DAWN IACHAU."

Mae y ddawn uchod yn cael ei thrafod yn y llys yn fwy boneddigaidd nâ'r lleill, gan nad ydyw yn cael ei llysenwi gymmaint. Caniateir iddi mai yr Ysbryd Glân sydd wedi ei gosod yn yr

eglwys, ac nad oedd yn cael ei gweinyddu allan o honi. "I'r rhai sydd yn yr eglwys," medd S., "y mae yr addewid. 'Od oes neb yn eich *plith* yn glaf, galwed ato henuriaid yr eglwys.' Yr oedd ffydd yn anghenrheidiol yn y derbyniwr gystal a'r gweinyddwr, sef cymmaint â hyn,—'*galwed* ato henuriaid yr eglwys.' Ac yn nesaf, yr oedd sicrwydd yn bod yn yr iawn ymarferiad â'r moddion apwyntiedig. Nid oes fethiant yn bosibl, ond eneinio ag olew, a gweddio gweddi y ffydd; canys dywed yr adnod yn bendant, ond gwneyd hyny, y bydd i weddi y ffydd iachâu y claf. Nid efallai y weddi a'i hiachâ ef; ond '*a* iachâ y claf.' Nid oes modd llithro oddiwrth gyflawniad addewid, os bydd yr ammodau wedi eu cyflawni." Dyna fel y llefara Mr. Sylwedydd am y ddawn hon. *Galw* yr henuriaid at y claf, oedd yr holl ffydd ag oedd yn eisieu er ei iachâu! Os felly, yr oedd *ceisio* gan Grist gynt yn ddigon o ffydd yn nhad y bachgen mud a byddar er bwrw allan y cythraul (Marc ix, 22); ond iaith Crist ar yr achlysur oedd, "Os gelli di gredu,"—yr hyn a ddengys fod Duw yn dysgwyl ffydd yn mhawb sy'n alluog i'w gweithredu. Ni sonia y Sylwedydd fod y ddawn iachâu "*i arall*," fel am y doniau ereill; ac y mae yn hyny yn dangos cyfrwysdra nid bychan. Meddylia y gall pob claf yn yr eglwys gael iechyd gystal â neb, ond gwneuthur y gorchwyl bach o *alw* yr henuriaid. Ond, efallai nad oedd neb yn dygwydd bod yn glaf, ond y rhai a feddent y ddawn; neu efallai mai yr henuriaid yn unig oedd yn feddiannol ar y ddawn hono. Nad beth am hyny, meddiannai y cloff o Lystra y gyfryw ddawn; a thrwyddi hi y derbyniodd hwnw y fendith. Mae addewid i bawb, ar ammodau, ac yn ol ewyllys Duw, i dderbyn iechyd trwy eneinio a gosod dwylaw, yn enw yr Arglwydd; ond nid yw yn rhesymol dysgwyl llwyddiant ar bob achlysur. Eglura y parhad o eiriau Iago (pen. v, 15, 16) yr achos o hyny. Ar ol "A gweddi y ffydd a iacha y claf, a'r Arglwydd a'i cyfyd ef i fyny;" darllenir fel hyn—"ac os bydd wedi gwneuthur pechodau, hwy a faddeuir iddo. Cyffeswch eich camweddau bawb i'ch gilydd, a *gweddiwch* dros eich gilydd, fel y'ch *iachaer*. Llawer a ddichon *taer weddi* y cyfiawn." Fe welir yn awr pa faint o bethau sy'n anghenrheidiol hefyd, gyda "galw" yr henuriaid, i'r dyben i dderbyn iechyd. Nid yn unig mae yn ofynol cyffesu beiau i'n gilydd, ond rhaid gweddio dros ein gilydd hefyd; ac nid rhyw fath o weddio a ddichon wneyd y tro, ond *taer* weddio, a hyny nid gan neb ond y *cyfiawn*. "Llawer a ddichon" gweddiau felly, ond

ni ddywedir y byddant yn sicr o lwyddo bob tro. Dangos yr hyn oedd yn ofynol cyn llwyddo, oedd dyben cyfarwyddiadau Iago. Nid ydym ni yn ewyllysio gwneuthur Duw yn gelwyddog yn ei addewid, megys yr ymdrecha y Sylwedydd wneyd (canys ni rydd un prawf i Dduw dynu ei addewid yn ol) ; eithr ewyllysio dangos, ydym mai ar ddynion y gorphwys y bai fynychaf na byddent yn derbyn yr hyn a ofynant yn enw yr Arglwydd, ac mai doethineb yn Nuw yw peidio rhoddi i'w blant bob tro y ceisiant. Pe gwir rhesymeg afresymol y Sylwedydd, "nad oes fethiant yn bosibl, ond eneinio ag olew, a gweddio gweddi y ffydd," ni fuasai neb o blant Duw yn marw, pe galwent atynt henuriaid yr eglwys pan y cawsent eu cymmeryd yn glaf! Mae y dull yna o ymresymu yn annheilwng o ddyn sy'n chwilio am wirionedd; gadawer ef i'r rhai sydd yn chwilio am bob twyll, ond twyll eu hunain. O herwydd fod Capt. Jones yn dweyd fod "rhai aelodau mor weiniaid, fel na allant dderbyn iechyd ar unwaith, fel Timotheus ac ereill gynt, ac fod yn rhaid parhau i weinyddu iddynt, ac i weddio yn daer drostynt," gofyna, "A oes rhyw rai o honynt yn fwy gweiniaid na'r rhai yr oedd Crist yn eu hiachâu gynt? A oes rhai o honynt yn fwy gweiniaid na'r wraig a'r gwaedlif arni," &c.? Ai gwraig *wan* oedd yn dweyd, "Os cyffyrddaf â'i ddillad ef, iach fyddaf?" Pan oedd Crist yn "gweled eu ffydd hwy," yr oedd yn iachâu fynychaf; ac nis gwyddom ni am un enghraifft lle y gellir dweyd nad oedd ffydd gan y derbynydd, oddieithr fod y cyfryw yn farw neu allan o'i bwyll. Y ffordd oreu i gael allan pa un a oedd ffydd gan dderbynwyr bendithion, yw darllen y Testament Newydd, a threio drosom ein hunain yn yr oes hon, am yr un bendithion. Ond peidiwn meddwl mai rhyw Iesu Gristiau ac apostolion yw henuriaid yr oes hon, mwy na'r rhai gynt; mae eisieu rhyw reswm yn mhob peth. Dywed Mr. Sylwedydd yn mhellach ynghylch geiriau Iago, fel hyn :—"Ni raid petruso nad oedd y sicrwydd mwyaf am yr iachâd yn yr iawn ymarferiad a'r moddion, ac nid oes hanes iddynt fethu erioed yn oes yr apostolion" Os nad oes genym hanes iddynt fethu, nis gwyddom ni am un hanes ychwaith iddynt lwyddo, trwy eneinio a gosod dwylaw; a gallwn betruso yn fawr iddynt fethu yn aml, ie, yn aml iawn. Os oedd y saint bryd hyny yn ufyddhau i eiriau Iago, y mae yn rhesymol meddwl eu bod yn galw yr henuriaid atynt, pan y byddent glaf; ac os oeddynt yn derbyn iechyd bob tro heb fethu, nid oedd bosibl fod neb o honynt byth yn marw! Ond, ai gwir hyny?

O herwydd fod y Saint yn barnu fod Timotheus a Trophimus wedi methu derbyn iechyd trwy yr ordinhad, gofyna y Sylwedydd am brawf i hono gael ei gweinyddu arnynt; a dyweda gyda llaw, "fod gan yr apostolion hawl i gyhoeddi melldithion, yn gystal â bendithion, uwchben y rhai y barnent yn deilwng." Mae yn wir na allwn roddi hanes i'r ordinhad gael ei threio ar un o honynt; ond gall pawb weled nad melldithio Timotheus oedd Paul, pan yn ei annog i ymarferyd gwin at ei gylla, a'i fynych wendid. Ymofyn ei wella rywffordd oedd Paul; a thrwy ei fod yn annog meddyginiaeth at hyny, ymddengys fod yr ordinhad wedi methu. Paham na ddywedai Paul wrtho am alw yr henuriaid, os oedd yr ordinhad yn sicr o lwyddo bob tro, ac yntau yn dymuno y fendith o iechyd iddo? Y mae methiant yn dilyn yr ordinhad pan heb ddigon o ffydd; ac y mae yn gadael troseddwyr yn fynych yn weiniaid ac yn llesg, a llawer i huno. (1 Cor. xii, 30.) Mae yn ddrwg genym i ddweyd, na wyr y Sylwedydd ddim ynghylch y "traddodi i Satan, i ddinystr y cnawd, fel y byddai yr ysbryd gadwedig;" ac y mae yn ddrwg genym hefyd, nad yw ef yn wrthddrych addas i dderbyn gwybodaeth am bethau felly, tra yn methu derbyn pethau llai. Dywed Mr. S. hefyd, mai "ar y rhai yr oedd yr Apostolion yn cyhoeddi y barnau, yr oedd y ddawn hon i gael ei gweinyddu, h. y., ar eu hedifeirwch am eu bai, a'u cyfaddefiad o'u camsyniad, ac yr oedd yn ateb y dyben hefyd yn wastad." Yn mha le cafodd y Sylwedydd afael ar y wybodaeth hona, tybied? Mor afresymol yw haeriadau fel hyn. Cymmaint â hyna am y ddawn iachâu.

---

## LLYTHYR AT Y BRAWD J. DAVIS.

"Vitium alitur tegendo."

ANWYL FRAWD DAVIS,—Y trydydd gofyniad o'ch eiddo, yn UDGORN Ebrill, ydyw, "Pa faint o ddaioni a wnaeth Roberts o Rymni, a Davies o Ddowlais, wrth ddreithio yn erbyn y Saint?" Llawer, meddaf, mewn llawer dull a modd. Gyda'r ugeiniau yn Merthyr a Dowlais a allant dystio mai y ddau uchod fu yn offerynau i agor eu llygaid i ganfod gwirionedd y Saint, y mae amryw yn Aberdâr, ac yn eu plith yr ydwyf, mewn ysbryd diolchgar i Dduw, yn rhesu fy hun; a gallaf dystio yn eofn yn nydd y farn, mai Adolygiad y brawd Capt. D. Jones, ar Ddarlith Roberts o Rymni, a fu yn foddion i'm haigyhoeddi o dwyll y grefydd ag yr oeddwn yn ei phroffesu, ac, fel Saul, yn dwyn sel mawr o'i phlegid.

Ni wyddwn i braidd ddim am y Seintiau, na'u crefydd chwaith, nes i'r Parch. W. R. Davies ddyfod i Aberdâr, i ddangos eu twyll; ond er syndod i'm meddwl i, pa fwyaf yr oedd yn gwaeddi, gan ergydio'r beibl a'r pwlpud, "Mawr dwyll, uffernol ragrith, a thruenus dywyllwch Sataniaid y dyddiau diweddaf," mwyaf i gyd oedd egwyddorion y Saint, fel pelydrau y dwyfol wirionedd, yn ymddysgleirio, nes gwneyd i mi ddechreu credu, os Sataniaid oedd y dynion hyn, fod mwy o wirionedd dwyfol y beibl gyda'i *satanic majesty*, nag oedd gyda'r grefydd ag yr oeddwn i yn ei phroffesu. Amcanai ddinystrio egwyddorion y gwirionedd, trwy ddrwgliwio cymmeriadau y rhai a'u proffesent, a thystiolaethau eu gelynion. Nid oedd hyn yn fy ngolwg ond ynfydrwydd, ac ynfyd y cyfryw fuasai yn eu credu; canys y mae digon o ffeithiau i'n dysgu nad yw tystiolaethau gelynion ddim llai nâ thwyll a dywedyd anwiredd. Dangosodd ei gynddaredd yntau yn y pwlpud, ei fod yn elyn marwol iddynt. Penderfynais innau beidio credu, na barnu, nes cael gwell seiliau nag haeriadau fy nghyfaill, ymenydd pa un yn ddiau a feddalhawyd gan dân y nwyd ddigofus oedd yn gweithio nes berwi'r chwys ffrothog o groen talcen, pe cawsai chwarae teg i farnu yn ddiduedd, fuasai, o bosibl, yn addurn i'r gwirionedd.

Y Parchedig Mr. Roberts, Rymni, a ddaeth allan ar ei ol. Yr oedd Davies wedi agor ffenestri go eang i oleuni y gwirionedd, fel ag y mae yn yr Iesu, i dywynu ei lewyrch nefolaidd i'r carchar tywyll o draddodiadau ynfydrwydd ag y bum ynddo yn agos i ugain mlynedd. Ond mi fethais yn deg a dryllio cadwynau anwybodaeth, sel secturaidd, a chadarn ddôr cywilydd, nes i'r Parch. E. Roberts ddyfod allan â'i draethawd yn erbyn Mormoniaeth, i'w merthyru a'i chladdu mewn tir anghof am byth: eithr parch tragwyddol i'w enw, fe ddrylliodd gadwynau ei sect oddiam danaf, y rhai yn y diwedd a fuasent yn fy nghaethgludo i golledigaeth, am ddysgu, fel y Phareseaid gynt, orchymynion dynion yn ddysgeidiaeth, gan ddiystyru cynghor Duw. Y mae yn wir fy mod wedi cael fy medyddio, meddai y sect ag yr oeddwn yn perthyn iddi; ond nid oedd hyny yn awr yn fy ngolwg ddim llai nâ "Cwrddaist â lleidr (yn meddiannu cymmeriad ac awdurdod nad oedd yn perthyn iddo), a chytunaist ag ef;" oblegid, yr oedd Roberts, erbyn hyn, wedi agor ffordd i mi ddianc o rwyd adarwr cyfrwys Gehenna, i gastell teyrnas Mormoniaeth, i fod yn un o'i deiliaid dedwydd a diogel byth ac yn dragywydd, er gwaethaf sen,

byd, cnawd, a diafol, ynghyd â'i holl ddeiliaid crefyddol. "*Ex veritate causa pendetur.*"

Y mae yn wir fod ymarweddiad parchedigion crefyddol yr oes, er ys blynyddau bellach, wedi dylanwadu cymmaint ar fy meddwl, nes oeri y cariad oedd genyf tuag atynt, a'r ffydd oedd genyf ynddynt fel gweision Duw, serch fod eu hymddygiad tuag at eu praidd tlodion, yn eu profi yn debygach i fleiddiaid, &c. Drwg oedd genyf, tra fum gyda hwynt, weled eu trachwant arianol. Er enghraifft, yr oedd y Parch. ——, Dowlais, yn dweyd wrthyf un tro, "Os cynnygir i mi bum punt y flwyddyn, mewn rhywfan yn fwy nâ'r hyn ag wyf yn bresennol yn ei fwynhau, mi a adawn y lle yr wyf yn y fan." Beth, meddwn, all hyn fod, ond caru y cnuf yn fwy na'r praidd, yr aur yn y deml yn fwy na'r deml, y rhodd ar yr allor yn fwy na'r allor! Dim gwahaniaeth am y praidd, y deml, na'r allor yn Dowlais, ond cael pum punt mwy mewn rhyw le arall. Chwi weithwyr diwyd, caled, helbulus Dowlais, a ydyw y fath ddyn yn deilwng o'ch ymddiried, tra yn ol ei dystiolaeth (fel y tystia dydd y farn), y mae pum punt y flwyddyn yn fwy yn ei olwg na'ch eneidiau, eich teimlau, a'ch allorau Truenus meddwl fod allorau a themlau Duw, ac eneidiau anfarwol, yn llai eu gwerth yn ngolwg eu dysgawdwyr, nâ phum punt y flwyddyn! Beth, meddwn gyda syndod, fe fyddai y ganfed ran o berchyll moch, yn fwy eu gwerth nâ holl eneidiau, temlau, ac allorau dysgawdwyr y werin yn Nowlais! A geir enghraifft o'r fath hyn yn mhlith y Phariseaid, ag y cyhoeddodd Iachawdwr y byd wae tragwyddol uwch eu penau? Llawer i golegan a ddarfu y tlodion ei gynnal am dair blynedd, i ddysgu y doctrine of Theology from creation to the day of judgment, English grammar, a little Greek, Hebrew, and a little Latin; all very well, so far. Mi garaswn gael y fantais ddysgeidiol fy hun, ond nid ar gost tlodion, ac nid ar gost dweyd ar ol llaw, "Ni phregethaf yr efengyl yn rhad i'r tlodion, serch bod genyf gannoedd o bunnau y flwyddyn." Byddai yn well genyf ddryllio ceryg yr heol, na gwneyd hyny. Tost ydyw ymhelaethu, a dweyd fy mhrofiad yn mhellach tra yn eu plith; ond gwell dweyd y gwir, canys y mae dydd y cyfrif manwl gerllaw; ac os na ddywedwn y gwir, fe ofynir eu gwaed ar ein dwylaw ni, megys ag y gofynir gwaed eu cynnulleidfaoedd ar eu dwylaw hwythau. Besides, brother Davis, you know that they delight in circulating all manner of lies about us; let them do so: we will also circulate the *truth* about them.

and time will crown the latter, as usual, with the wreath of victory. Llawer gwaith y meddyliais, wrth glywed a darllen eu celwyddau, y naill am y llall, yn nghyhoeddiadau misol yr oes, fod yn rhaid fod eu cydwybod wedi ei serio, megys â haiarn poeth, fel nad yw yn ryfeddod genyf fod y cyfryw a allasai gyhuddo eu gilydd yn gyhoeddus yn nghyhoeddiadau yr oes, â phob enw ac anwiredd, ychydig flynyddau yn ol,—yn hollol rydd i wneyd yr unrhyw yn awr ar gymmeriadau y Saint. Dengys hyn i'r werin eu cymmeriad yn ei lun a'i liw priodol.

Pan yn eu canol, yr oeddwn fel Lot yn Sodom, mewn ysbryd blinedig, wrth weled eu hysbrydoedd chwyddedig ymffrostgar, mor lawn o serch hunanol, nes gwneyd i mi ofni mai hollti a wnaent, fel y llyffaint oedd am gyrhaedd maintioli y tarw. Yn ngwyneb pob groesaw, yr oedd eu balchder a'u hanniolchgarwch gymmaint, nes gwneyd i mi a chymhar fy mywyd gredu eu bod yn teilyngu y cymmeriad o fod yn anianol, yn angharedig, &c. Pwy o holl dylodion Cymru, ag sydd wedi porthi gwir y "moes" tragwyddol â miloedd o brydiau o fwyd, serch bod hebddo lawer tro eu hunain —pwy o honynt oll a all dystio iddo gael cymmaint ag un pryd yn ol? Pan ar daith yn newynog, sychedig, a blinedig, a feiddiant alw gyda'r parchedigion hyny a fu gymmaint o weithiau yn gwledda ar eu bwrdd? Och fi! fe fuasai golwg gwraig y parchedig yn ddigon i dori calon, a gwneyd i'r teithiwr blinedig i ddewis byw mewn newyn nes cyrhaedd ei hen fwthyn, gan gredu fod llettygarwch esgob (fel y doniau ysbrydol a grym duwioldeb) yn beth a fu, ac nid yw; pan mai y cyntaf, efallai, fuasai yn ei roesawi adref, â'i weniadau gwenieithus, fuasai rhyw barchedig, a rhyw stori fachlyd yn pysgota swllt y dyn tlawd at "achos da a theilwng;" ac ar yr un amser yn cyhoeddi ei anathema ar y cyfryw a alwant hwy yn Jacks, gan osod eu cymmeriad allan gyda'r gwawd a'r diystyrwch mwyaf, am eu bod yn syllta ac yn bwyta y tlodion i fyny! A dynwyd *likeness* erioed mor berffaith â'r tebygolrwydd sydd rhwng meddwl, barn, a bywyd peirch. yr oes, a'r desgrifiad o honynt yn y dyddiau diweddaf a ddarluniwyd gan apostolion Iesu er ys deunaw cant o flynyddau yn ol. Onid ydynt fel y gau ddysgawdwyr gynt, yn gweddio am arwydd, ac fel Belial yn ymofyn gwyrth, hyd y nod o'u pwlpudau, gan floeddio y gair nesaf fod oes y gwyrthiau wedi darfod. Yna y gair nesaf yn y weddi yw gweddio ar eu Duw am "lwyddiant, a dynoethi ei fraich gadarn yn awr fel cynt." Beth yw hyny ond dangos ei

allu mewn modd goruwch naturiol yn awr fel cynt? Yna "iachâu y cleifion, porthi y gweddwon a'r amddifaid, yn awr fel cynt. Y mae yn sych iawn, a'r maesydd yn llefain am wlaw; gorchymyn iddo ddisgyn yn awr fel cynt: neu, y mae yn wlyb iawn, a ffrwythau y ddaear yn pydru; gwasgara y cymylau, a gorchymyn i'r haul dywynu yn awr fel cynt; canys Duw anghyfnewidiol ydwyt, a'th allu yr un, a dim ond dywed y gair, &c. Mae y pla ofnadwy yn difa ein preswylwyr yn ein hymyl; O, bydded i ti ei attal yn awr fel cynt," &c. O, Gymru, pwy ydyw y rhagrithwyr, y twyllwyr, a'r ynfydion, ag y mae plant bach yn dechreu canfod eu hynfydrwydd yn eglur. Mewn *taro* yn gweddio am i Dduw weithredu yn awr mewn modd gwyrthiol fel cynt, yn gystal ei ymadrodd â neb o'r Saint. Fe ddangosodd Ysbryd Duw i'w weision gynt, gymmeriad y cyfryw ddysgawdwyr yn y dyddiau diweddaf, "yn tori cyfammod, yn enllibaidd, yn anghymmesur, yn anfwyn, yn ddiserch i'r rhai da, yn fradwyr, yn waedwyllt, yn chwyddedig, yn caru melys chwant yn fwy nag yn caru Duw; a chanddynt *rith duwioldeb*, eithr yn gwadu ei grym hi, y rhai hyn gochel di," yr hyn a wnaethym, a'r hyn a wnaf trwy gymhorth Duw byth bythol. *Deus protector noster.* Ac os caniatêwch, fe gaiff ein *Seren* wiw lewyrchu eu darluniad, a'i *udganu*, nid o Gaerdyf i Gaergybi, ond trwy bob bro, ac ar bob bryn lle y byddo Cymro, a llygaid i weled y darluniad, a chlustiau i glywed eu dedfryd, os na edifarhant yn fuan, a chredu yr efengyl, a rhoddi ufydd-dod i'w chyfreithiau, a chymmeryd eu bedyddio er maddeuant o'u pechodau, fel y derbyniont ddawn yr Ysbryd Glân; oblegid er cysur iddynt hwy, y mae y gair yn wir fod Iesu Grist wedi dyfod i geisio ac i gadw pechaduriaid, o ba rai penaf ydyw y cyfryw a ddarluniwyd. Mi fum i yn eu plith yn meddu yr un cymmeriad, a phawb yn fy nghanmol am ysbryd haelionus, &c.; ond, diolch, yn awr mi gefais drugaredd, am i mi yn ddiarwybod erlid pobl Dduw, trwy gredu eu hanwireddau hwynt. Tua deunaw mis yn ol, y cefais y fraint annhraethol o gael aelodiaeth yn eglwys Iesu Grist, yn mhlith y Saint, ag sydd yn derbyn lluniaeth ysbrydol, y bendithion dwyfol a addawodd Iesu i holl aelodau ei gorff gogoneddus ef; ac oddiwrth fy hen gyfeillion, cefais ddigon o anwiredd erlidgar a phob drwg air. Yr wyf wedi bedyddio dros 100, oll yn meddiannu sicrwydd ffydd, a llawer o honynt yn pregethu yr efengyl yn nghyflawnder ei bendithion.

Yr eiddoch, yn rhwymau yr efengyl dragwyddol,

*Aberdar, Mai* 10, 1849. WM. HOWELLS.

## Y GWRON A'R CORYN.

YN Iscoed-celyddon, dewr frenin y wlad,
A aeth a'i lu arfog i ymladd mewn câd;
Milwriai dros dynu'r unbenaeth i lawr,
A'i elyn a'i rhwystrai â gallu tra mawr.

Er ymdrech y gwron ar hyll-faes y gwaed,
Yn achos gwiwglodus iawnderau ei wlad;
Er iddo ef frwydro yn ddewr a diludd,
Rhoi fyny gorfyddodd—fe gollodd y dydd.

'Nol hyny aeth eilwaith a'i obaith yn gry',
Y troi'r fuddugoliaeth yn odiaeth o'i du;
Ond er siomedigaeth, trodd allan yn brudd,
Rhoi fyny gorfyddodd—fe gollodd y dydd.

Aeth wedy'n i gynnyg mewn hyder ddifreg,
Gan feddwl gwnai ennill y frwydr yn deg,
Ond etto, er cyrchu, ei siomi fe ga'dd,
A llawer o'i filwyr a gawsant eu lladd.

Y brenin aeth etto yn wrol i'r maes
I ymladd â'i greulon elynion hyll cas;
Ond, er ei wroldeb, ei hyder, a'i ffydd,
Fe'i trechwyd ef eilwaith—fe gollodd y dydd.

Fel hyn ei amynedd barhäodd yn deg,
Nes ymladd yn wrol un frwydr ar ddeg;
Pob tro y bu'n brwydro, fe gollai y dydd,
Ac 'nawr mae'n dychwelyd â'i ddwyfron yn brudd,

Wrth ddod tuag adref, fe deimlai'n dra blin,
Ac aeth i ryw 'sgubor i orphwys ei hun,
Fan hyny'n ofidus darfyddodd ei ffydd,
Y byddai byth iddo ef ennill y dydd.

Pan oedd ef yn gorwedd yn llesgaidd i lawr,
Rhyw goryn a ddenodd ei feddwl yn fawr;
Hwn welai yn dringo ei reffyn i'r làn,
Er hyny yn methu a chyrhaedd y fan.

Y coryn âi eilwaith i ddringo 'r un modd,
Ac yna y gwron o'i eistedd a drodd;
Ond yntau, o herwydd ei fod yn un gwan,
A fethodd drachefn â chyrhaedd i'r làn.

Cynnygiai yn gysson i gyrhaedd y nod,
Ond ar ol pob cynnyg i lawr 'roedd yn dod;
A'r brenin, wrth weled amynedd mor fawr,
A dd'wedai, " Mi gwrddais â brawd imi 'n awr."

Y coryn bach etto ymdrechu a wnai,
Er fod ei alluoedd ef wedi gwanhau;
Ac ar y ddeuddegfed cynnygiad fe aeth,
A chyrhaedd ei amcan dewisol a wnaeth,

Ar hyny gorch'mynodd y brenin yn llon,
I'w fyddin ymgynnull yn wrol o'r bron,
A myned i frwydr—er bod yn dra phrudd,
Ond trwy fawr amynedd, ENNILLWYD Y DYDD!

Chwychwi sydd yn gweddio, heb lwydd ar eich gwaith,
Na roddwch i fyny nes treio sawl gwaeth;
Os meddwch amynedd, fe lwyddwch, mi wn,
Gwnewch gofio amynedd y brenin gwiw hwn.

I. M.

---

## MR. JOHN PUGH A THOMAS PRICE, ABERDAR.

### AT OLYGYDD UDGORN SEION.

SYR,—Ar y 30ain o Ebrill, daeth Rhifyn o'r UDGORN i'm llaw am y mis hwnw, yn yr hwn mae genych ychydig sylwadau ataf mewn modd personol, yn y rhai y cyfeiriwch at lythyr a ddanfonais at Mr. J. Pugh o Aberdâr, i *dderbyn* challenge *oddiwrtho ef*, ac nid i "roddi cynnyg dyfod i ddadlu" ag ef, fel y dywedwch chwi. Ni fuaswn byth yn meddwl cynnyg dadlu â John Pugh, nag un dyn yn meddu y cyffelyb gymmeriad ag ef. Beth! a yw John Pugh wedi cilio o'r maes eisoes? A yw wedi cyfnewid ei feddwl am ddadl gyhoeddus? A farnodd ef "mai pwyll yw y rhan oreu o wrolder" yn y pwnc hwn? Oni fuasai yn garedig yn y cawr i roddi gwybod i mi ei fod wedi llaesu llinyn ei fwa? Ni wyddai ef faint o ofn, dychryn, ac arswyd, a allasai fod wedi llettya dan fy mron er pan dderbyniais ei *challenge*. Peth ofnadwy, pe dygwyddasai i mi farw rhag ofn dydd y frwydr, a'm gwraig anwyl i ddwyn cyhuddiad o ddynladdiad (*manslaughter*) yn erbyn Pugh a'i *challenge*. Ond, ar eich cynghor *chwi*, mae John Pugh wedi cuddio ei berson dan fantell dew y Golygydd—fe, y Golygydd—y dynsawd a fedda yr hawlfraint oruchel o ysgrifio yn holl awdurdod y gair *ni*. Buasai yn gallach iddo ymgynghori â chwi, cyn danfon ei *challenge* ymffrostgar,—ac yn neillduol cyn ymffrostio, ar draul anwiredd, fy mod, rhag ei ofn, wedi gwrthod derbyn ei *challenge*. Y gwir yw, Mr. Golygydd, meddyliodd Mr. Pugh, yn ol ei ddywediad ef ei hun, y buaswn yn gadael ei lythyr yn hollol ddisylw; ac yna cawsai ef a'i frodyr ymffrostio ar hyd a lled yr ardal, "fod gweinidog y Bedyddwyr ag ofn dadleu â John Pugh." Dyna y gwirionedd, onide, Mr. Pugh? Rhowch chwarae teg i'ch cydwybod, am unwaith, i ateb yn ol gwirionedd. Ond bu gweinidog y Bedyddwyr (druan o

hono) mor ffol â chredu fod y cawr yn ddifrifol. A beth oedd yn fwy naturiol, wrth weled y dyn yn sefyll yn ei lawn hyd, a'i gôt ar lawr, a'i siaced fach yn gorwedd wrth ei draed, a llewys ei grys wedi eu torchi hyd yr ysgwyddau,—ac yntau yn taeru ei fod yn dyfod i ymladd â mi yn enw Duw byddinoedd Israel? Ac er tawelu y bachgen, boddlonais sefyll i fyny er newid ychydig o ergydion ag ef. Yr oeddwn yn barnu, yn ddystaw bach, mae ychydig, ïe, ychydig iawn, o ergydion rheolaidd fuasai yn gwneyd ei dro. Ond och fi! y fath siomedigaeth! "Nid oeddwn i," medd Mr. Pugh wrth David Hughes, "nid oeddwn i yn meddwl y b'asai Price yn gwneyd un sylw o'm llythyr;" a gallasai ychwanegu, "dyna oeddwn yn obeithio hefyd."

Yn awr, Mr. Gol., gan eich bod chwi wedi cymmeryd yr achos o law Mr. Pugh, a i ddwyn o flaen y cyhoedd, ac am newid dull y ddadl, tegwch i mi ac i'r cyhoedd, fydd i chwi yn gyntaf oll gyhoeddi yn yr Udgorn lythyr Mr. Pugh ataf, a'r llythyr a ddanfonais mewn ateb iddo; felly y deallir dechreuad y fusnes hon. Yr wyf yn dymuno hyn hefyd, am fod John Pugh a'i gyfeillion wedi bod mor ddiwyd yn taenu anwireddau disail a maleis-ddrwg o barth y llythyr a'i gynnwysiad; yna cyfiawnder yw i'r ddau lythyr weled goleuni yr un pryd ar wyneb y "*Seren.*" Wedi hyny, derbyniaf eich *challenge* chwithau, ar y telerau a gynnygiais i John Pughe yn yr atebiad a ddanfonais i'w *challenge* ef. Nid oes genyf wrthwynebiad i ddwyn y ddadl yn mlaen trwy ysgrifenu, yn lle dadlu wyneb yn wyneb, ond cael chwarae teg. Ond nid yw yn arferiad i ohebydd gynnal dadl mewn cyhoeddiad, â Golygydd y cyhoeddiad hwnw. Mae gormod awdurdod yn llaw y Golygydd i sicrhau chwarae teg i ohebydd. Oes, mae awdurdod rhyfeddol yn y gair *ni.* Dywedaf etto, Nid oes genyf wrthwynebiad i gyfarfod NI "Udgorn Seion," ar dir teg.

Ni chaf wneyd un sylw ar eich ysgrif ar "Athrawiaeth Bedyddiadau" yn bresennol. Bydd genym lawer peth i'w drafod cyn dyfod at "Athrawiaeth Bedyddiadau." Cofiwch, nid wyf yn meddwl neidio o fan i fan gyda chwi, mwy na gyda Ioan Pugh. Gwell cymmeryd tipyn o bwyll, a chael tipyn o drefn. Fel cofleidwyr crefydd newydd a gwahanol i'r hyn a gredir gan fwyrif y byd crefyddol, mai "baich y prawf" yn gorphwys gyda chwi. Yna mae yn rheidiol i chwi ddechreu yn y dechreu, beth bynag, os nad yw yn ofynol i ddefnyddio ysgrif neu ddwy er symud

ymaith yr ysgarthion a ddichon fod yn amgylchynu y pwnc. Trwy roddi lle i hwn yn eich rhifyn nesaf, boddlonwch,

Yr eiddoch yn ostyngedig,

*Aberdar, Mai* 9, 1849. THOS. PRICE.

---

[Mae yn dda genym weled Mr. Price yn amddiffyn ei hunan, ond byddai yn well genym pe gwelsem ef yn amddiffyn rhyw egwyddor. Gallem ni ysgrifenu llawer mewn atebiad i'r llythyr uchod, ond pwy fyddai yn cael ei adeiladu? Mae genym achos i fod yn ddystaw o hyn allan am ein brawd J. Pugh, o herwydd ei fod newydd orphen ei yrfa yn angeu. Fod Mr. Price wedi derbyn rhyw lythyr oddiwrtho, sydd wybodus; ond ni wyddom ni ei gynnwysiad, na'r achos cynhyrfiol o'i anfoniad, ac nid ystyriwn hyny yn werth i'w wybod. Hyn, syr, a wyddom, nad oeddem yn cyfeiliorni pan y dywedasom i chwi, yn eich ateb i Pugh, "roddi cynnyg dyfod i ddadl â genau cyhoeddus y Saint yn Nghymru, ynghylch prif egwyddorion ein crefydd." Yr oeddech yn gwrthod dadleu â Pugh, o herwydd ei gymmeriad; ac yn lle derbyn beiddiad Pugh, rhoddasoch feiddiad eich hunan o'r newydd, trwy ddweyd "fod yn ofynol cael dyn a gydnabyddir gan y Saint yn Nghymru fel eu genau cyhoeddus, ac y byddant yn foddlon ymddiried eu hachos yn ei law." Ar hyny, neidiodd "NI 'Udgorn Seion'" yn mlaen, a thybiodd ei hunan yn ddigon cyhoeddus i dderbyn, ar ammodau, feiddiad newydd Mr. Price. Ond, nid yw yn un gwahaniaeth genym, os bernir mai *ni* sy'n euog o feiddio gyntaf; ac, o ganlyniad, nid oes achos dadleu ychwaneg am hyny, nac ychwaith gyhoeddi llythyron sydd yn perthyn i'r marw. Bellach, beth sydd yn lluddias i ni ddechreu ar ryw bwnc? Pa fodd yr ydym am i Mr. Price neidio o fan i fan? Mae yn wir i ni ddangos un man iddo; ond neidiodd ef dros hwnw i fan arall. Os mai arnom ni y gorwedd "baich y prawf," ac os mai nyni sydd i "ddechreu yn y dechreu," pwy ond y ni sydd i farnu beth sydd yn ddechreu, gan nad oes dim yn ol o du Mr. Price heb ei wneyd? Er mwyn cael Mr. Price at ei waith, os na chydia yn "Athrawiaeth Bedyddiadau," cydied mewn rhywbeth o'r llyfrau Mormonaidd a all fenthyca neu brynu oddiwrth Saint Aberdâr, a dewised ei "ddechreu" o'r rhai hyny, a gwnawn ninnau (yn enw rhywun arall, os myn, fel y gwna golygyddion ereill yn aml) adolygu yr hyn a ysgrifena efe i'r UDGORN. Beth allwn gynnyg yn decach? Os mai gwaith da yw dangos ein twyll, gwell peidio colli amser i chwedleua â ni cyn dechreu.—GOL.]

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### CYNNADLEDD DDWYREINIOL CYMRU.

CYMMANFA y Gynnadledd hon a gynnaliwyd yn Nghasnewydd-ar-Wysg, ar y 1af a'r 2il o Ebrill. Dewiswyd y brawd Henshaw i lywyddu, yr hwn, wedi anerch y gynnulleidfa, a alwodd am

gynnrychioliad y cangenau; a chafwyd fod y gynnadledd yn cynnwys 17 o henuriaid, 18 o offeiriaid, 16 o athrawon, a 6 o ddiaconiaid; wedi eu bedyddio er y gynnadledd ddiweddaf, 116; y cyfanswm, 343. Rhif y cangenau yw deg. Anerchwyd y Saint ac ereill gan amrywiol swyddogion, yn ystod y gwahanol gyfarfodydd, yn effeithiol iawn. Penderfynwyd dal i fyny trwy weddiau, Brigham Young a'r Deuddeg, ynghyd â'r Llywydd W. Henshaw.

W. HENSHAW, *Llywydd,*
J. OWEN, *Ysgrifenydd.*

SIR DDINBYCH.

Cynnaliwyd Cymmanfa y Gynnadledd uchod ar y 21ain o Ebrill, yn Newmarket. Llywyddwyd y cyfarfodydd gan y brawd John Parry. Cynnrychiolwyd tair o gangenau, yn cynnwys 73 o aelodau, yn mhlith y rhai y mae 5 henuriad, 6 offeiriad, 4 athraw, a 2 ddiacon; ac y mae 19 wedi eu bedyddio er y gymmanfa ddiweddaf, a 5 wedi ymfudo. Galwyd pedwar o frodyr i swyddi. Cafwyd cyfarfodydd hynod o dda trwy y dydd.

J. PARRY, *Llywydd,*
W. PARRY, *Ysgrifenydd.*

SIR GAERFYRDDIN.

Cymmanfa gyntaf y Gynnadledd hon a gynnaliwyd yn y Farchnadfa, yn Nghaerfyrddin, ar y 22ain a'r 23ain o Ebrill. Llywyddwyd ar yr achlysur gan y brawd Howell Williams. Wedi galw y gwahanol lywyddion i roddi hanes eu cangenau, cafwyd fod yn y gynnadledd saith o gangenau, yn cynnwys 482 o aelodau, o ba rai y mae 27 o henuriaid, 29 o offeiriaid, 24 o athrawon, ac 11 o ddiaconiaid; bedyddiwyd er Calan, 86. Yr oedd llawer wedi ymfudo o'r gynnadledd hon. Wedi hyn, anerchwyd y cyfarfod gan y brodyr William Phillips ac Abel Evans yn fedrus neillduol. Yn y prydnawn, galwyd amryw i swyddi, a rheoleiddiwyd chwech o gangenau newyddion; a galwyd W. Phillips, A. Evans, a Thos. Pugh i anerch y cyfarfod. Yn yr hwyr, eilwaith, galwyd y brodyr blaenorol, ac ereill, i egluro yn mhellach egwyddorion yr efengyl. Dranoeth drachefn a dreuliwyd mewn cyffelyb fodd, Darfu i'r ddau "ddydd draethu ymadrodd" daionus ac adeiladol i bawb, nes yr oedd llawer yn dweyd na welwyd cymmanfa gyffelyb yn Nghaerfyrddin erioed o'r blaen. Bernid fod oddeutu pedair neu bum mil yn bresennol, yn cynnwys amrywiol o barchedigion, boneddigion, masgnachwyr, crefftwyr, &c., y rhai a wrandawent oll yn foneddigaidd ac astud. Talwyd diolchgarwch i Faer y

dref am ei holl garedigrwydd yn rhoddi defnyddiau at y *stage*, &c.; ac i'r heddgeidwaid am eu gwasanaeth ddefnyddiol ar yr achlysur. Bedyddiwyd pump rhwng y cyfarfodydd, ac argoelion am luoedd i ufyddhau yn fuan. Yn y Cynghor, boreu dydd Mawrth, penderfynwyd fod pob llywydd i gasglu yn ei gangen tuag at y deml yn Seion, a chadw coffadwriaeth o ewyllys da pob un; hefyd fod pob cangen yn gyfrifol i'w llywydd, a'r llywydd yn gyfrifol i Lywydd y Gynnadledd, am bob llyfrau a dderbyniant bob chwarter.

H. WILLIAMS, *Llywydd*,
ISAAC JONES, *Ysgrifenydd*.

SIR FEIRIONYDD.

Cynnaliwyd Cymmanfa Cynnadledd Sir Feirionydd, yn Neuadd yr Angel, yn Nolgeilau, ar y 29ain o Ebrill. Cynnrychiolwyd cangenau Ffestiniog, Harlech, a Machynlleth; rhif yr aelodau yw 56, yn cynnwys 11 o henuriad, 4 o offeiriad, 1 athraw, ac 1 diacon; un wedi ei fedyddio yn y tri mis diweddaf; 23 wedi ymfudo. Pregethwyd gan amrywiol o frodyr ar yr achlysur.

E. EDWARDS, *Llywydd*.

CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG.

Cynnaliwyd Cymmanfa y Gynnadledd hon, yn y Trade's Hall, Abertawy (yr hwn a ellir ei ystyried yn gapel cyfleus), ar y 6fed o Fai, dan lywyddiaeth Thomas Pugh. Yn y boreu, cynnrychiolwyd y cangenau, y rhai sydd yn 15 mewn rhifedi, yn cynnwys 260 o aelodau, o ba rai y mae 32 yn henuriad, 33 yn offeiriaid, 19 o athrawon, a 7 o ddiaconiaid; 23 wedi eu bedyddio er y 15fed o Ebrill. Anerchwyd y gwyddfodolion yn Gymraeg a Saesneg, gan y brodyr W. Phillips a J. Davis o Merthyr, Howell Williams o Gaerfyrddin, ac ereill, yn fwyaf neillduol ynghylch yr egwyddorion cyntaf. Yr oedd y capel wedi ei orlenwi o wrandawwyr cyfrifol, y rhai a arwyddent eu boddlonrwydd i'r athrawiaeth a glywent. Cynnaliwyd cyfarfod pregethu yno nos dranoeth hefyd, pan y gorlenwyd y lle er clywed R. Williams o Blaenafon, Wm. Evans o Rymni, a W. Phillips, yn pregethu.

THOS. PUGH, *Llywydd*,
D. WILLIAMS, *Ysgrifenydd*.

SIR FON.

Cynnaliwyd Cymmanfa y sir hon, ar y 8fed o Ebrill, yn Mhont Menai. Cynnwysa y gynnadledd 2 henuriad, 2 offeiriad, a 2 athraw; 4 wedi eu bedyddio; y cyfanswn yn 16. Dewiswyd David Williams yn gynghorwr i Abel Evans. Galwyd amryw i swyddi.

A. EVANS, *Llywydd*.

## AMRYWIAETHAU.

---

Lemonade Powders.—Er gwneyd gwydraid da o *lemonade*, mynwch 2 dram o sugr gwyn wedi ei bowdro; 5 gronyn (grain) o sinsir wedi ei bowdro; 26 o ronynau o *carbonate of soda*; yna cymmysgwch hwynt gan eu gosod oll mewn papyr glâs. Hefyd, gosodwch 30 o ronynau o *citric acid* mewn papyr gwyn. Yna pan fyddwch sychedig, gosodwch bob un o honynt mewn bob o hanner gwydraid o ddwfr ffynnon, ac wedi arllwys un hanner gwydraid i'r llall, bydd yn llawn bryd i chwi yfed.

Gwlaw, Eira, &c.—Achosir *gwlaw* gan gwmwl yn symud i awyr oerach, lle mae ei ronynau yn ymgrynhoi, ac yn myned yn ddyferion rhy drymion i nofio yn yr wybr. Mae Eira yn cael ei achosi trwy fod y cwmwl yn rhewi cyn troi yn ddwfr. *Cesair* neu *Genllysg* a achosir trwy fod y dyferion yn rhewi wrth ddisgyn fel gwlaw. *Gwlith* yw y disgyniad o'r tarth a gyfyd yn y dydd. *Niwl* yw cwmwl yn nofio ar wyneb y ddaear, a *chwmwl* yw niwl yn nofio yn yr wybr.

Gair Da.—Dywed diareb Dutchaidd fel hyn—Os llosgir fy nhŷ, os ymollyngа fy angor, os collaf fy llong, etto gallaf achub fy hunan; ond os collaf fy ngair da, yr wyf yn colli pobpeth.

Clyw!—A wnaeth rhywun dy niweidio? Os do, dïala yn wrol; diystyra y peth, a bydd y gorchwyl wedi ei ddechreu; dyro faddeuant, a bydd wedi ei orphen. Mae hwnw yn is na'i hunan sydd heb fod uwchlaw ei ddigio.

Diffyg Cof.—Yr oedd un o bregethwyr yr Independiaid yn pregethu unwaith ynghylch arfaeth Duw; a thua hanner ei bregeth, pan oedd yr hwyl ganu yn ei pherffeithrwydd mwyaf, aeth i sôn am ryw addewid o eiddo Duw, gan floeddio nerth ei geg, "Mi gwela'i draw—draw—draw—yn—yn—yn—yn—; tut baw," ebe efe, gan glecian ei fys, "chofia'i 'nawr ddim yn mhle!"

Rhyfedd.—Dywedir gan bobl yn nghymmydogaeth Dowlais, fod y Saint a ymfudodd i California mewn llong wedi hanner newynu, a'u traed allan trwy'r esgidiau wrth *gerdded*! Hynod na fynent well pedolau, a hwythau yn teithio'r môr.

Digofaint Digrif.—Digofaint digrif yw digio wrth olygydd am beidio eistedd i lawr hanner diwrnod gyda phob un a alwo yn ei swyddfa, i ddarllen iddynt hwy yn gyntaf y newyddion y mae arno frys i'w cyhoeddi i'r cyhoedd! Nid oes dim a ddwg pobl felly i'w synwyrau, ond rhyw radd o Ysbryd Duw.

### Y PRIF GOPYN.

'Rwy'n trengu drwy fy nghrefft,
'Rwy'n cloddio'm bedd fy hun;
Yn nyddu edau'm bywyd brau,
A'm hangeu'n wau o'm llin.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 6.

" DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. I.] MEHEFIN, 1849. [PRIS 2g.

## CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1849.

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

☞ Derbyniasom lythyr o Minersville, America, oddiwrth ein brawd Thomas M. Richards, yn hysbysu ei lwyddiant yno yn mhlith y Cymry. Hysbysa ni fod deg wedi eu bedyddio yno, a bod y gangen yn cynnwys tri o henuriaid, un offeiriad, dau ddysgawdwr, un diacon, a deg o aelodau; a bod argoelion da am lwyddiant, a galwad mawr am ychwaneg o swyddogion.

"J. M."—"Gwyryfon" ydynt ferched heb eu halogi megys gwragedd; a rhai felly yw y cyfryw a olygir, feddyliwn, yn yr adnod.

☞ Drwg genym yw hysbysu nad yw y LLYFR HYMNAU wedi ei orphen yn hollol, fel ag i fod yn barod i fyned gyda y Rhifyn hwn. Bu y Llythyron o'r America, ynghyd â'r Cholera, yn rhwystr i ni ei orphen yn gynt. Yr ydym yn ei sicrhau yn barod o flaen ein Rhifyn nesaf, a dymunwn wybod y nifer a fynir heb eu rhwymo, yn mhob Cynnadledd, mor agos ag y gellir, a cheir amser i wybod ynghylch y rhai rhwym wed'yn.

☞ Gofyna J. W., "A yw yn weddus i nifer o Saint a ddygwyddant gyfarfod â'u gilydd ar ganol heol gyhoeddus mewn rhyw dref, dylw sylw pawb drwy ysgwyd dwylaw, siarad yn uchel, a sefyll yno yn bentwr, nes y byddont yn destun gwawd i'w gelynion?" Diolchwn am y gofyniad, ac atebwn nad yw ymddygiad felly yn weddus mewn un modd. Ymestyned y Saint at foneddigeiddrwydd yn mhob peth, ac nid at iseldra.

"Anti-Mormon."—Beth pe byddai hanner y Saint wedi boddi, neu wedi eu dyfetha gan y Cholera,—beth wed'yn? Ai gwaith y Capt. Jones fuasai hyny? Oni allai efe ei hunan foddi neu farw, fel rhywun arall? Paham y beiid ef? Ymdreched ein cyfaill fagu rhywfaint o reswm, cyn ein blino â llythyr etto.

☞ Mae cardiau y Tea Party blynyddol yn barod i'w danfon ymaith, a'r brawd John Jones, Nailer, Merthyr, wedi ei benodi i'w dosparthu. Erfyniwn, dros y Prif-Gynghor, ar yr holl Lywyddion a'u Cynghorwyr i wneyd eu goreu i'w gwerthu, a gyru y Cardiau gweddill yn ol i John Jones, wythnos cyn y Gymmanfa Gyffredinol. Ar ysgwyddau y Llywyddion y gorphwys ffyddlondeb yn hyn, fel yn mhob peth arall. Yfir y Tê ar brydnawn ail ddydd y Gymmanfa, sef y 30ain o Orphenaf, pan y dysgwyliwn weled llawer o wynebau siriol yn cyd-wledda.

"T. T."—Yr ydym yn meddwl cyhoeddi y "DONIAU YSBRYDOL" yn lyfryn, fel yr ewyllysiwch, a daw allan o'r wasg erbyn ein Rhifyn nesaf, yn werth dwy neu dair ceiniog.

☞ Wrth fyned i'r wasg, derbyniasom lythyr yn hysbysu nad yw y brawd O. Pratt yn sicrhau y daw i'r Gymmanfa.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 6.] MEHEFIN, 1849. [CYF. I.

### MESMERYDDIAETH.

MAE y rhan fwyaf o'n darllenwyr, fe allai, yn gwybod pa beth ydyw Mesmeryddiaeth. Dylanwad yw a fedda ysbryd y naill ddyn ar y llall, i beri iddo fyned i wahanol raddau o gysgadrwydd. Effeithir hyny drwy fod un dyn yn syllu yn graff yn ngwyneb dyn arall, ac ymdrechu ymwthio â'i ddwylaw bob dylanwad o'i eiddo i mewn i'w gyfansoddiad. I'r dyben i ddylanwadu felly, mae yn ofynol i'r dyoddefydd roddi ei hun yn gwbl i ewyllys y mesmeryddwr; a rhaid i'r blaenaf fod yn wanach ei ysbryd nâ'r olaf, cyn y gellir effeithio arno. Mae Mesmeryddiaeth yn sicr o fod yn un o ryfeddodau y dyddiau diweddaf, ac yn flaenffrwyth o'r galluoedd neillduol a ddangosir yn fuan; ac y mae yn rhesymol dysgwyl llawer o bethau hynod yn y byd, er ei barotôi i syllu ar y rhyfeddod mawr hwnw o dynu tân i wared o'r nef yn ngolwg dynion. (Dad. xiii, 13.) Bydd hyny, yn ddiammau, yn cael ei gyflawni trwy achosion dealladwy i'r sawl fydd yn ei wneuthur bryd hyny, yr un fath yn gymhwys ag y deallir Mesmeryddiaeth yn awr, ac yr un fath ag oedd dewiniaid yr Aifft yn cyflawni eu rhyfeddodau yn eu hamser hwythau. Mae Mesmeryddiaeth yn athrawiaeth nad yw llawer yn ei chredu; ac fel pob peth newydd, y mae cryn ragfarn yn ei herbyn: ond, er y cyfan, y mae yn ennill tir yn barhaus, ac ymrestra hyd y nod rai o barchedigion Cymru i'w chofleidio fel y peth goreu ond efengyl. Yr oedd egwyddorion ynghylch dylanwadau goruwch-naturiol wedi eu hesgymuno braidd o'r byd, cyn i'r "efengyl dragywyddol"

gael ei hadferu gan yr angel; ond oddiar hyny, y mae egwyddorion o'r fath yn codi eu penau etto o'r newydd, ac yn dechreu cael cymmeradwyaeth. Lle byddo gallu goruwch-naturiol oddiwrth Dduw, y mae'r diafol yn ceisio amlygu gallu goruwch-naturiol o'i eiddo yntau, er mwyn perswadio ei ddeiliaid i aros yn y tywyllwch. Yn awr, tra mae Saint y Dyddiau Diweddaf yn argyhoeddi llaweroedd i gredu mewn dadguddiadau yn yr oes hon, trwy eu dwyn hwynt i gael ffeithiau iddynt eu hunain; mae y diafol, ar yr un pryd, trwy offerynoliaeth dynion, a thrwy gyfrwng Mesmeryddiaeth, yn argyhoeddi llaweroedd o'r un peth, ac yn rhoddi profion i bawb drostynt eu hunain. Beth a ddywedai rhai o'r Saint, pe cawsent eu dwyn o flaen ambell un wedi fesmereiddio, a bod y cysgadur hwnw yn gallu mynegi iddynt pa faint o fanau geni sydd ar eu cyrff, yn mha leoedd, a pha faint o arian sydd yn eu llogellau? Beth pe dywedai wrth wraig na welodd erioed, pa un a fydd hi yn feichiog ai peidio, pa sawl wythnos y mae yn y cyflwr hwnw, a pha un ai gwrryw ai benyw yw y plentyn? Buasai hyny yn gystal dadguddiadau, yn ol eu natur, ag un dadguddiad a fu erioed; ac y mae gymmaint uwchlaw gallu arferol dynion, ag ydyw yr hyn mae y Saint yn broffesu. Yr oeddym wedi darllen am bethau felly o'r blaen; ond yn awr y mae ffeithiau o hyny wedi eu dangos i lawer yn ein tref ein hunain. Mae dynion cyfrifol yn byw yma a allant dystio fod un ag oedd wedi ei mesmereiddio, yn gallu dweyd pa faint o fanau geni oedd arnynt, pa glefydau oedd yn eu cyfansoddiad, pa faint o arian oedd yn eu llogellau, a pha faint o yfwyr cwrw oedd mewn tafarn cyfagos pan oedd hi yn cysgu. Tystiai y cysgadur ei bod yn gweled y cyfan, tufewn yn gystal â'r tuallan, er fod y mesmeryddwr â'i fysedd ar ei llygaid. Beth a feddylir am hyn? Nid twyll ydyw; canys y mae meddygon enwog, a gwyr mawr, ac hyd y nod y rhai a gydnabyddir yn weision i Dduw, yn tystio mai gwirionedd ydyw, a'i fod yn fendith fawr i'r oes, trwy fod yn gynnorthwy i wellhau, i ddadguddio dirgelion, ac i ennill dylanwad o'r pwlpud. Nid ydym ninnau am ddweyd mai twyll ydyw; credwn fod y cyfan mor wir â throad y gwialenod yn seirff, a'r dwfr yn waed, gan ddewiniaid yr Aifft—codiad

Samuel o'r bedd gan y ddewines o Endor, ac adnabyddiaeth Paul a'i frodyr gan y lances â'r ysbryd dewiniaeth, &c. Mae yn ddiammau y gall ysbryd dyn gerdded, clywed, gweled, siarad, barnu, &c., yr un fath, ar wahan oddiwrth y corff, ag mewn cyssylltiad ag ef; ac y mae yn naturiol meddwl, pan fyddo ysbryd dyn yn gweithredu yn ddigyssylltiad â'r corff, y medr weled trwy y defnyddiau hyny ag y mae yn medru preswylio ynddynt Geill un defnydd teneu fodoli mewn defnydd tewach, heb gadw dim ychwaneg o le; yr un fath ag y gellir gosod llawer o halen a siwgr mewn gwydraid llawn o ddwfr, heb beri iddo fyned dros yr ymyl, o herwydd fod gronynau halen a siwgr yn fanach nâ gronynau dwfr. Yr un modd, geill ysbryd dyn, er ei fod gymmaint â'i gorff mewn maintioli, trwy fod ei ronynau yn fanach nâ gronynau y corff, drigo ynddo heb achosi ymchwyddiad nac un afreoleidd-dra. Mae defnyddiau ysbrydion mor deneu, fel y gall "saith," ac hyd y nod "leng" o honynt i drigo mewn un corff; a gall ysbrydion felly ddefnyddio tafod y corff a breswyliant ynddo, a rhoi dadguddiadau am y pethau a wyddant hwy am danynt trwy beiriannau deall eu personau eu hunain. Wel, ymddengys, ynte, trwy fod corff y cyfryw a fesmereiddir yn cael ei farwolaethu i gymmaint graddau, mai hyny sydd yn rhyddhau yr ysbryd i weithredu ar ei ben ei hun, yn mha gyflwr y mae yn alluog i weled yn mhellach nâ llygaid y corff, ac felly i hysbysu yr hyn sydd yn oruwch-naturiol; ac os yw yr ysbryd yn cael ei ryddhau felly, y mae mewn cyflwr ag a gall ymgyfeillachu ag ysbrydion ereill sydd yn y byd, y rhai a ddysgant lawer o bethau wrth rodio ar hyd llefydd sychion, ac a'u traethant wrth ysbrydion o'r fath hyn. Mae yr ysbrydion hyn yn fodau sylweddol, er nad oes ganddynt gnawd ac esgyrn; ac y mae llawer o dystion a ddywedant y medr ysbrydion ymaflyd mewn cnawd ac esgyrn, a pheri iddynt deimlo eu presennoldeb. Na syner os clywir rhywrai yn dweyd fod ein golygiadau yn groes i farn dysgedigion y wlad; y mae yn iawn i ni gael dweyd ein meddwl fel ereill, serch y chwardda llawer am ein pen. Mae llawer peth a ystyrir yn ffol ar y cyntaf, yn newid ei gymmeriad yn mhen amser.

Dysgwyliwn fod gan y Saint ffyddlawn ddigon o adnabydd-

iaeth o Ysbryd Duw, fel y gallant wahaniaethu rhwng dadguddiadau oddiwrth Dduw a dadguddiadau oddiwrth y gelyn. Ysbryd yw y naill, ac ysbryd yw y llall: ac y mae gan y naill ysbrydion gwasanaethgar fel y llall, a mynega y ddwy blaid o'u cyfrinach i'w cyfeillion ar y ddaear. Mae Ysbryd Duw ac ysbryd y diafol yn gallu dylanwadu ar ysbrydion dynion, ac ysbrydion dynion ar eu cyrff, &c. Tystiolaeth yr Iesu yw yr unig beth a geidw dynion rhag credu mai gallu Duw yw y galluoedd a ddechreuir eu hamlygu yn y dyddiau hyn. Bydded y Saint oll ar ddihun, ac na fodd iddynt gael eu cynhyrfu gan ryfeddodau y gelyn. Nid yw ei wyrthiau ond dechreu etto. Bydd yn ofynol i'r Saint gael mwy o Ysbryd Duw yn barhaus o hyn allan, i adnabod pa beth sydd o Dduw; ac er cael ychwaneg o hono, ni fydd dim yn well na chymmeryd eu cynghori a'u dysgu i ymgadw rhag rhyfeddodau o'r fath. Nid ydym am eu perswadio i gredu nad oes dim gwirionedd mewn Mesmeryddiaeth,—gwyddom yn dda ei fod: ond perswadiwn hwynt i chwilio i mewn o ba le y mae yn deilliaw.

---

## Y "DONIAU YSBRYDOL" YN MRAWDLYS Y GELYN.

### "GWYRTHIAU."

Dywed Mr. Sylwedydd, yn *Seren* Tachwedd, 1848, mai "dawn neill hon ag oedd yn cael ei rhoddi i'r apostolion, ac iddynt hwy yn unig fel y cyfryw," tra dywed yr ysgrythyr mai "i arall" y cyfrenid hi! Dywed hefyd ei bod yn foddion trwy ba un y cyfrenid y doniau ereill, ac mai trwyddi yr oedd yr apostolion yn iachâu y cleifion, &c; er fod Paul yn tystio mai yr Ysbryd oedd yn cyfranu y doniau hyny o'r neilldu. Dadleuir llawer gan y Sylwedydd ynghylch pa beth sydd yn cyfansoddi gwyrthiau; ac yn wir y mae hyny yn bwnc cryn ddyrys. Meddylia llawer fod llefaru â thafodau, prophwydo, ac iachâu cleifion, yn wyrthiau; ond meddyliwn ni mai doniau ereill yw y rhai hyny, ac y gallai eu perchenogion fod yn amddifad o'r ddawn i wneuthur gwyrthiau. Tybia rhai, fel y Sylwedydd, mai peth uwchlaw i ddeddfau anian, a chroes i reolau cyntefig natur, yw gwyrth; tra hona ereill fod argyhoeddi Methodistyn yn gymmaint o wyrth â dim. Fe gredwn ni yn rhwydd mai gwyrthiau oedd troi y wialen yn sarff, peri i'r haul sefyll, troi y dwfr yn win, &c.; ond ni allwn gredu fod hyny yn groes i reolau cyntefig natur, canys rheolau

natur yw ewyllys ei Hawdwr. Buasai troad y ddaear yn wyrth, pe arferai sefyll; ond pe buasai yn arfer sefyll, wrth orchymyn Duw, ni fyddai hyny yn fwy croes i ddeddfau anian nag ydyw ei throad, canys ufyddhau i'w Hawdwr mae y ddaear yn y naill beth a'r llall. Nid oes dim yn wyrth i Dduw, o herwydd ei fod yn deall trwy ba reolau y cyflawnir gwyrthiau; ac o ganlyniad, yn ol fel y byddo dynion yn deall y rheolau er cyflawni gwyrthiau, i'r graddau hyny y diflana y rhyfeddod o honynt. Felly, gall pethau ymddangos yn wyrthiol i rai, tra na fyddant felly yn ngolwg ereill. Y mae Mesmeryddiaeth yn wyrthiol i'r sawl nad ydynt yn deall y gelfyddyd; ac yn debyg y gallem ddweyd am lawer o bethau ereill. Y mae Mr. Sylwedydd wedi bod yn casglu rhyw lawer o farnau i ddesgrifio pa bethau sydd yn hanfodol i wyrth; ond gadawn ni y barnau hyny o'r neilldu, gan nad ydynt amgen nâ mympwy ddynol. Yn ol ewyllys a dybenion Duw yn unig y cyflawnir gwyrthiau. Dywedodd Duw wrth Moses am wneyd gwyrthiau o flaen Pharaoh, fel y credai; ond ni roddodd orchymyn o'r fath i Iesu Grist a'i apostolion, onide dylasent foddloni Satan a'i arwydd-geiswyr. Yr unig brofion o wirionedd i'r bobl yn amser Moses, oedd gwyrthiau; ond wedi dyfodiad Mab Duw, trwy wneuthur ewyllys ei Dad yn unig y mae dyfod i wybodaeth y gwirionedd. Daeth Iesu Grist i'r byd i roddi gwell profion o'i ddwyfoldeb, na neb o'i flaen. Os cafodd Pharaoh brawf o ddwyfoldeb gan Moses, cafodd brawf arall gan ei ddewiniaid i'w bwyso; ac os gwelodd Pharaoh well prawf gan Moses na'r lleill, naturiol oedd iddo gredu nad oedd Moses yn ddwyfolach nâ hwythau, ond ei fod yn well dewin. Y prawf a gynnygiai Crist oedd yr Ysbryd Glân, yr hwn oedd yn rhoddi sicrwydd i bawb a'i derbyniai, fel na buasai achos i neb gael ei dwyllo gan rai fel Simon Magus, &c. Er hyny, yr oedd Iesu Grist hefyd yn cyflawni gwyrthiau, pan y buasai ei Dad yn ewyllysio iddo, eithr nid er mwyn profi ei anfoniad, fel y tybia y Sylwedydd. Pe buasai gwyrthiau ac arwyddion yn brofion o ddwyfol anfoniad, gallai y dewiniaid a'r gau-brophwydi honi eu hunain yn weision i Dduw, yn enwedig pe llwyddent i dynu tân i waered o'r nef yn ngolwg dynion.

Wedi i Mr. Sylwedydd osod i lawr seiliau gwyrth, â yn mlaen i sylwi ar wyrthiau Crist, mewn cyferbyniad i wyrthiau ychydig o Saint yn nghymmydogaeth Llanybydder. Dylid cofio fod y Sylwedydd wedi dweyd yn barod, mai dawn yn perthyn i'r apos-

tolion yn unig oedd gwneuthur gwyrthiau; ac am hyny ffolineb o'r mwyaf oedd iddo ddysgwyl gwyrthiau oddiwrth ddynion nad oeddynt yn apostolion, ac i feddwl mai treio gwneyd gwyrthiau oedd Saint Llanybyther wrth ymdrechu gweddio dros eu cleifion. Mae ein Sylwedydd yn camsynied un ddawn yn lle y llall yn barhaus. Credu mae y Saint y gall Duw wneuthur gwyrthiau trwy ei blant yn awr fel cynt, megys y byddo ef yn ewyllysio, ac nid credu y gallant hwy eu cyflawni fel y dewisant eu hunain. Nid yw methu iachâu brawd yn mhith y Saint, yn brawf nad yw y ddawn i wneuthur gwyrthiau yn yr eglwys; canys, os buasai hyny yn brawf o rywbeth, prawf fyddai yn erbyn y ddawn iachâu, ac nid gwyrthiau. Er cymmaint mae'r Sylwedydd wedi ddweyd wrth ereill pa beth sydd yn cyfansoddi gwyrth, mae efe ei hunan, wedi y cwbl, mor anwybodus o honi ag i feddwl mai iachâd rhyw glaf ydyw, yr hyn a effeithir drwy y ddawn iachâu! Buasai yn fwy cysson ag ef ei hunan, er dangos ffaeledd *gwyrthiau* y Saint, i geisio profi na ddaeth y mud a'r byddar hwnw yn Nghasnewydd, i lefaru a chlywed, trwy allu Duw. Ond, beth ofala dyn sydd â'i fryd ar wrthwynebu, pa ddichell a arfera, os geill gael rhywbeth i daflu gorchudd dros y gwirionedd. Pe buasai Crist ei hunan yn dyfod i'r byd etto i ail-wneyd ei wyrthiau, ni wnelai y dynion a wrthodant ei genadwri yn bresennol, fyth eu credu; canys ymddygent yn gymhwys fel eu cyfeillion sectyddol yr amser gynt. Gwell gan y cyfryw beidio clywed son am wyrthiau; a gwell genym ninnau beidio treulio ein hamser i'w hargyhoeddi o honynt. Eithr yr ydym yn synu fod y dynion sydd yn gwadu gwyrthiau yn awr, pan yr honant mai at gadarnhau athrawiaethau newyddion y maent da, yn methu gweled eu heisieu i gadarnhau eu hathrawiaethau newyddion hwy yn yr oes hon, y rhai a wahaniaethant gymmaint oddiwrth eu gilydd, fel mai ofer i neb yw credu mai cymmysgedd felly yw athrawiaeth anghyfnewidiol Crist, yr hon oedd i'w phregethu i'r holl fyd.

Yn awr, er cael terfynu ynghylch gwyrthiau, dywedwn fod Duw wedi eu gosod yn ei eglwys; a phwy bynag a ammheuo hyny, darllened 1 Cor. xii, 28. Nad beth oedd eu dyben, mae yn ddiau i Dduw eu gosod ynddi, ynghyd ag apostolion, prophwydi, athrawon, doniau i iachâu, &c.; ac y mae mor rhwydd profi nad oes athrawon i fod ynddi yn awr, ag ydyw profi nad oes gwyrthiau. Nid yw yn rhesymol i feddwl y gwnai Duw gyfnewidiadau yn ei eglwys, heb hysbysu hyny i'w blant; hysbysodd yr holl bethau

a osododd ynddi, a phaham nad hysbysai hefyd yr hyn a dynai o honi? Os dywed y Sylwedydd nad oedd yr "arwyddion i ganlyn y rhai a gredant" mewn grym yn mhellach nâ'r amser y cyfeiria Paul ato yn Col. i, 6, 23, lle dywed fod yr efengyl wedi ei phregethu trwy yr holl fyd,—yna nid yw "y neb a gredo ac a fedyddier, a fydd cadwedig," mewn grym ychwaith—mae y cyfan wedi darfod! Ond os yw y Sylwedydd yn credu yr ysgrythyrau, mae yn rhaid iddo addef fod yr arwyddion i ganlyn y rhai a gredant yr efengyl; ac nid yn unig hyny, ond rhaid iddo gredu hefyd y cyflawnir mwy o wyrthiau yn y dyddiau diweddaf, nag a gyflawnwyd erioed o'r blaen, megys y prophwyda yr ysgrythyrau am danynt; eithr pa amlaf ac amlycaf y byddant, mwyaf i gyd fydd anghrediniaeth crefyddwyr y cymmysgedd, sef y Babiloniaid, y rhai ni argyhoeddir hyd nes y dyfethir hwynt yn llwyr gan ddyfodiad disymmwth Mab y Dyn.

"PROPHWYDOLIAETH."

Y ddawn hon yw y chweched a fu yn mrawdlys y gelyn; ac ar yr achlysur, galwodd Mr. Sylwedydd nifer fawr o esbonwyr enwog i ddweyd eu barnau am dani, a chlywwyd hwy yn dweyd yn wahanol iawn i'w gilydd, yr hyn a brofa nad oeddynt yn deall nemawr yn ei chylch. Ond y mae y Sylwedydd yn meddwl fod y farn am dani yn benderfynedig, ac mai hyn yw—"llefaru unrhyw beth dan ysbrydoliaeth, neu ddehongli unrhyw beth ysbrydoledig neu anysbrydoledig." Yn ngwyneb hyna, dyweda Capt. Jones, mai "Ysbryd y dadguddiad yw Ysbryd Duw, ac amlygu y pethau dyfodol i blant Duw yw y ddawn hon." Y mae y Sylwedydd yn ei ateb drachefn, fel hyn—"Gosododd Duw ei ddawn brophwydol yn ei eglwys, i'r dyben o egluro yr ysgrythyrau; a meddyliaf mai drwy yr ymadrodd gwybodaeth ag y soniwyd am dano yn flaenorol, y gwnaent hyny." Yn enw rheswm, pa beth yw yr holl ddoniau afreidiol sydd yn yr eglwys? Pa eisieu cyfranu "prophwydoliaeth," os gellid egluro yr ysgrythyrau trwy "ymadrodd gwybodaeth?" Yr oedd gwybodaeth a doethineb yn ddigon er cyfansoddi prophwydi dychymmygol y Sylwedydd; ac ofer neillduol oedd ychwanegu "ac i arall brophwydoliaeth," pan oedd doniau ereill yn ateb ei dyben yn hollol. Dealled y Sylwedydd nad ydym ni, na'r Capt. Jones, yn meddwl nad oedd yr enw *prophwyd* yn cael ei alw ar bersonau nad oeddynt ar y pryd, fe allai, yn prophwydo; ond methwn ddirnad ei fod yn iawn i alw

prophwyd ar ddyn na phrophwydodd erioed. Prophwydi oedd yr ail ddosparth o swyddi a osododd Duw yn ei eglwys; ond ymddengys fod y ddawn o brophwydoliaeth yn cael ei chyfranu i lawer nad oeddynt mewn swyddi, megys y deuddeg hyny a fedyddiwyd yn Ephesus. Pa reswm oedd i'r rhai hyny fyned i egluro yr ysgrythyrau i apostol ag oedd wedi dyfod yno i'w dysgu hwy? Ond buasai rhag fynegi rhywbeth i ddod yn beth teilwng o sylw yr hen Baul; megys y mae hanes yn Act. xxi, i rai o'i frodyr ei annog, trwy y ddawn hon, i beidio myned i fyny i Jerusalem, o herwydd y gwyddent yr hyn a ddygwyddai iddo yno. Yr oedd gan Phillip bedair o ferched yn prophwydo; ac os mai esbonio oeddynt, iddynt eu hunain yr esbonient, ac nid i'r eglwys, canys nid oedd caniatâd iddynt i ddysgu yno. Gallai gwragedd weddio, trwy ofalu na weddient yn bennoeth; ac y mae yn ddiau fod rhyddid ganddynt i rag fynegu neu brophwydo; oblegid dywed Paul, "Mi a fynwn pettych chwi OLL yn llefaru â thafodau dyeithr, ond yn hytrach brophwydo o honoch;" a thrwy fod hawl gan bawb i hyny, y mae hawl gan fenywod hefyd. Etto, mewn perthynas i brophwydo, os mai egluro yr ysgrythyrau ydyw, pa ysgrythyrau oedd gan y Corinthiaid i'w hegluro? pa faint o ysgrythyrau oedd gan Genedloedd felly, heblaw llythyron Paul atynt? Ac os mai egluro yr ysgrythyrau oedd prophwydo, nid oedd rhyddid gan wragedd i ymwneyd â'r gwaith, canys eu dyledswydd hwy oedd tewi: ond dengys y geiriau canlynol, fod cymmaint o hawl ganddynt i weddio a phrophwydo yn yr eglwys, ag oedd gan y gwyr. Y geiriau ydynt,—"Pob gwr yn gweddio, neu yn prophwydo, â pheth am ei ben, sydd yn cywilyddio ei ben: eithr pob gwraig yn gweddio, neu yn prophwydo, yn bennoeth, sydd yn cywilyddio ei phen." (1 Cor. xi, 4, 5.). Yn awr, awn i sylwi, os mai dawn i esbonio yw y ddawn o "brophwydoliaeth," yna gorfodir ni i benderfynu nad yw Duw wedi gosod yn ei eglwys un ddawn er mynegi pethau dyfodol, a rhaid nad yw llyfr y Datguddiad ond clamp o esboniad! Mae y Sylwedydd, feddyliem, am ein perswadio i gredu na fu y Dyddanydd arall yn donio neb o ddyscyblion Crist â'r ddawn o rag-fynegi pethau—dim ond esbonio o hyd. A ydyw efe yn foddlon i ni alw esbonwyr yr oes hon yn brophwydi hefyd; neu mai gwell yw peidio, rhag i ddynion gonest gredu mai hwy yw y "gau brophwydi," oblegid nad ydynt yn llefaru "dan ysbrydoliaeth," fel y rhai gynt? Os na allant esbonio dan ysbrydoliaeth, gwell i'r eglwys fod hebddynt;

canys dywed y Sylwedydd "fod yn angheuriheidiol, tuag at iawn a sicr esbonio prophwydoliaethau, fod yr esboniwr dan ddylanwad rhywbeth yn uwch nâ chredoau dynol." Da iawn yw cyfaddef, ynte, nad yw esboniadau yr oes i ymddibynu arnynt, ond fod yn rhaid cael prophwydi ysbrydoledig etto cyn y gallwn gael unrhyw eglurhad ar yr ysgrythyrau. Caiff y Sylwedydd gredu y Dr. J. P. Smith, "nad oes un brophwydoliaeth o'r ysgrythyr yn ei hegluro ei hunan," er mwyn iddo brofi ei bwnc yn well; eithr dewiswn ein hunain i gredu Pedr, "nad oes un brophwydoliaeth o ddehongliad *priod*" (private), ac hefyd na fuasai achos i'r Iuddewon fethu deall y prophwydoliaethau llythyrenol am Grist, oni buasai eu bod (fel y Sylwedydd) wedi eu dysgu i feddwl fod eu dehongliadau yn guddiedig.

Wrth gwpla esbonio ar "brophwydoliaeth," dyfyna y Sylwedydd Rhuf. xii, 6, "A chan fod i ni amryw ddoniau yn ol y gras a roddwyd i ni, pa un bynag ai prophwydoliaeth, prophwydwn yn ol cyssondeb y ffydd." Yn awr, tybia ef fod yn rhaid mai esbonio oedd prophwydo, neu na fuasai Paul byth yn eu hannog i *ragddweyd* yn ol cyssondeb y ffydd. Paham nad oes eisieu cadw cyssondeb y ffydd mewn golwg wrth ragddweyd, yn gystal ag wrth bregethu? onid yr Ysbryd sydd yn arwain yn y naill beth, fel y llall? Pe na edrychid at hyny gan yr apostolion, buan y tywysid y saint i brophwydo a phregethu yn gyfeiliornus; canys pethau o ran oeddynt, ac ystyriai rhai brophwydo mor ddiwerth, nes y gorfodid Paul i ddweyd wrthynt, "Na ddirmygwch brophwydoliaethau." Gwaith yr apostolion ac ereill oedd perffeithio y saint, a'u dysgu i ymarferyd y doniau ysbrydol mewn doethineb, fel y gallent ragori er adeiladu yr eglwys. Yr oedd Paul yn dysgu y Corinthiaid i lefaru â thafodau, cyfieithu, prophwydo, &c., er y syna y Sylwedydd fod neb yn "gosod ei hun yn *ben* ar yr Ysbryd Glân." Dylai ddeall mai gan yr Ysbryd y cymmerai Paul hefyd ei arwain, tra yn eu dysgu, a'i fod ef yn meddu mwy o gyflawnder o hono na'r rhai a ddysgai. Yn awr fe welir nad oedd un anghyssondeb yn Paul wrth ddysgu rhai i rag ddweyd yn ol cyssondeb y ffydd, tra yr oedd efe ei hun yn rhagddweyd yn fynych.

Ymddengys y parha "prophwydoliaeth" yn yr eglwys hyd nes y delo yr "hyn sydd berffaith," ac hyd nes y peidio yr Ysbryd Glân â bod yn Ddyddanydd arall, ac i ddwyn ar gof y pethau sydd wedi myned heibio, ac i fynegi pethau i ddyfod.

## MFYFYRDODAU.

O, DDAEAR! ddaear! ddaear! a chwi ei phreswylwyr, gwrandewch air yr Arglwydd, a pherchwch y ddoethineb sydd yn deilliaw o gynghor perffeithrwydd! Lle bynag mae yr haul, y lleuad, neu y sêr, yn pelydru—lle bynag mae y gwlith yn ireiddio—lle bynag y mae clust i glywed, neu galon i amgyffred, yno bydded i wirionedd gael ei ufyddhau, a rhinwedd ei barchu; oblegid y mae gwirionedd yn fwy ei werth nag aur, ufydd-dod yn well nag aberth; anrhydedd yw ymddiried Duw, a rhinwedd yw gwynfyd y nef. Y mae Duw oll yn oll; a'r oll a fu, neu sydd, neu a ddaw, oddiwrtho ef y mae yn deilliaw: mae ei allu yn annherfynol, ei ddoethineb yn hollalluog, ei gyfiawnder yn berffaith, ei drugaredd yn dragwyddol, a'i fywyd yn dragwyddoldeb diddarfod ag sydd yn parhau trwy y tragwyddoldebau y rhai a roddodd amser i'w holl greadigaethau dirifedi. Mae ei orsedd yn nghanol y cyfan mawr, a'i oleuni yn oleuni i bob peth, er fod arglwyddi lawer a duwiau lawer. Trefn, undeb, harddwch, cydgordiad, a grâs, sydd yn addurno gwaith ei ddwylaw, o'r gwyfyn hyd at ddyn, o'r ehedyn hyd at yr anifail, o'r bydyssawd hyd at dduw. Y mae ei ddoethineb, ei fedr, ei gallineb, ei gyfiawnder, a'i rinwedd, yn ei dderchafu i ogoniant, na ddarfu dyn, tlawd ac egwan ddyn, yn ei sefyllfa isel, erioed ei weled, erioed ei freuddwydio; na, nac a freuddwydia byth, nes y daw i fyny trwy yr un trallodau, yr un ffordd gul, yr hen lwybr a dramwyodd ein tadau ar hyd-ddo, nes y diangasant mewn tân i wynfyd; ac yn yr hwn y gweithiodd Crist, trwy ei waed ei hun, berffeithiach diangfa i blant ufydd dod o ddrwg i dda, o angeu i fywyd, o farwoldeb i anfarwoldeb, o amser i dragwyddoldeb. Gan hyny, O ddyn! ystyria dy ffyrdd; ufyddha i lais yr Arglwydd; cymmer dy arwain gan reswm; cofleidia wirionedd; gwrthod gyfeiliornad; câr dy gydnabod; na wyra oddiar ffyrdd doethineb,—a chai afael ar orphwysdra i'th enaid mewn awr o gyfyngder, yn nydd mawr y Duw Hollalluog, pan caiff y drygionus eu hysgubo oddiar wyneb y ddaear.

O, ddyn! ddyn! paham i'th luniwyd ar ddelw Duw? Ai i ryfela â'th frodyr, a dilyn hyfforddiadau nwydau, ac iselhau dy hun fel anifeiliaid y maes, a bod yn gaethwas i ddiafol a'i lu o angylion syrthiedig mewn teyrnas o drueni a thywyllwch? neu i wneyd ewyllys dy Dduw, ac i gael dy ddyrchafu megys yntau, trwy berffeithiad grâs, daioni, gwybodaeth, doethineb, gallu, a rhinwedd,

i deyrnas o ddedwyddwch, goleuni, a gogoniant? Ymddyddana a'th galon dy hun, ac ateb y cwestiynau hyn.

Pwy wyt ti, O ddyn! yr hwn wyt yn ymffrostio yn nghallineb a doethineb dy hun? Dyoddefa dy geryddu am dy rodres: y rîs gyntaf i luest doethineb, yw gwybod dy fod yn anwybodus; yr ail rîs ydyw, dihatru dy hun o'th ffolineb a'th hunanoldeb, ac yna rhodio yn bwyllog yn ffordd gwirionedd, gan gymmeryd dy oleuo yn barhaus gan lamp rhinwedd. Os bydd genyt rywbeth yn perthyn i'th wisg, neu oddeutu dy berson, neu yn dy ymadroddiad, ag sydd yn ardderchog, fel y wraig landeg yn y dyddiau gynt, tafla *orchudd* drosto, fel y byddo i'th wylder gael ei ddyrchafu mewn llysoedd breninoedd. Dylai callineb a phurdeb, fel a gwr a gwraig, fod wedi eu cyssylltu â'u gilydd mewn cyfammod parhaus yn yr hwn sydd yn bwriadu bod yn gyfryw ag y gwnaeth ei Greawdwr ef, sef *dyn*.

Y mae dyn mawr, ag sydd yn meddiannu ysbryd ardderchog, bob amser uwchlaw gwaelder; nid yw ef byth yn ymostwg o fawredd ei gymmeriad i iseldra bradwr, i gyflawni dybenion Duw. Nid yw efe ychwaith yn ymdrechu ennill calonau y bobl, dan fantell cariad, ag olew crefydd, pan mae ei dafod yn wyrdd gan wenwyn llygredigaeth, a'i bocedi yn griddfan gan bicellau marwolaeth. O, dydi, yr hwn wyt wedi dy swyno gan ragoriaethau gwirionedd, ac yn bostio am em didwylledd,—cymmer ofal rhag i ragrith a thwyll dy ddwyn di i warth a gwaradwydd yn y bywyd hwn, a gwae a thrueni yn y byd a ddaw! Ffyddlondeb a chyfeillgarwch, a chariad a goleuni, ydynt dragwyddol yn unig drwy olyniad parhaus.

O, ddyn! mor ardderchog mae dy Greawdwr wedi dy gynnysgaethu â rheswm, â chynneddfau, ac â galluoedd, fel y gelli adnabod dy hunan, amgyffred dyben a pharhad dy fodoliaeth; gelli amgyffred y bydyssawd, a holl ogoniant ei elfenau; gelli amgyffred y nefoedd yn eu holl rwysgfawredd a'u hardderchogrwydd. Am hyny, O ddyn! adnebydd dy hun, a gwerthfawroga dy fraint.

---

## Y BIBELL A'R GNO.

A OES rhywun heb ddeall pa beth yw'r bibell a'r gno? Y bibell yw y simnai sy'n cario mwg dybaco i mewn i enau dyn, a'r gno yw'r domen o ddybaco sydd wedi ei harllwys yn nghil ei foch. Y mae dyn yn gosod simnai i'w dŷ i gario y mwg ymaith, o her-

wydd ei fod yn afiachus ac annymunol; tra y mae yn gosod simnai arall i'w enau, i'r dyben o gario ei chynnwysiad myglyd i mewn iddo, o herwydd ei fod mor ddymunol. Pob peth nad yw yn addas i fyned i'r cylla, a deflir i'r domen yn gyffredin, oddiar y ffordd; ond am y domen ddybaco, er nad yw ond gelyn marwol i'r cylla, y mae yn cael ei chadw yn y lle syber hwnw lle mae archwaeth dyn yn preswylio. Mae yn athrawiaeth boblogaidd yn awr nad oes dim yn fwy llesol i enau dyn nâ mwg dybaco, a thrwyth ei domeni! Gwelir llawer o'r tlodion yn rhoi y chwech sydd yn eisieu at fara, i brynu dybaco a phibelli. Haerant yn deg y gallant fyw ar lai o fwyd wrth wneuthur hyny. Mae siopau dybaco mor amled â sêr y nefoedd, a simneiau y genau mor ddirifedi â thywod y môr. Yr ydym yn bresennol bron methu gweled ein papyr, gan y colofnau mwg sydd yn dyrchafu o'r ystafell o danom, lle y dychymmygwn fod o gwmpas ugain o simneiau yn tynu am y goreu. Neithiwr y clywsom wraig yn sôn fod ei thraed bron glynu yn llawr y tŷ, o herwydd fod y gwr ac ereill wedi arllwys ysgarthion eu geneuau ar hyd-ddo; a dywedai gwraig arall wrthym i'w phlentyn gael ei liwio yn goch y Sul diweddaf, trwy iddo gwympo yn y cwrdd i'r ffrwd a lifai o enau tomlyd Ianto y Gof. Yn y gweithiau yma, y mae pryd o fwyd yn ddiflas iawn, os na fydd tri neu bedwar yn chwythu tân dybaco, er i ddyn gael digon o fwg i'w nerthu i lyncu ei damaid; a cheir cyfeillion i wneyd hyny am ddim, ac ar eu cost eu hunain. Y mae mwg y gweithiau haiarn yn annigonol i ateb dybenion llesol y trigolion o feithrin eu cyrff; a'r canlyniad doeth yw, fod braidd pob un yn mynu simnai i'w geg ei hun, fel y byddo yn siwr o gael digon. Yn awr, trwy fod sefyllfa y wlad fel hyn yn cyfnewid, mae yr ymborth a arferid yn y dyddiau gynt, feddyliwn, yn dyfod yn rhatach, gan fod dynion yn gallu byw braidd yn hollol ar fwg a thomeni; ac y mae dynion fel nyni, ag sydd yn rhy ffol i amgyffred llesâd mwg a thrwyth dybaco yn fwyd, yn gallu cadw ein hunain yn weddol o resymol, ac yn medru hebgor ychydig i brynu llyfrau neu newyddiaduron, i ddifyru ein hunain tra bo ereill yn ddiwyd wrth eu mygdyllau a'u tomeni.

Y mae un peth, er y cyfan, yn ddirgelwch mawr i ni, ac yr ydym yn methu â chael dysgeidiaeth ar y pen gan neb. Ychydig iawn o'r rhyw fenywaidd a welwn yn gwneuthur defnydd o'r bibell a'r gno; ac arweinir ni i gredu, naill ai fod y dybaco yn rhy gryf o fwyd iddynt, neu ynte eu bod hwy yn wanach eu synwyrau, fel

nas gallant, fwy nâ ninnau, weled rhinwedd y mwg a'r trwyth. Yn awr, mae llawer o'r menywod mor olygus â'u gwyr, ac ar rai achlysuron yn gryfach eu cyfansoddiad; a llawer un yn ddiweddar sydd wedi cymmeryd y fantais i wisgo y *breeches*, ac i osod eu gwyr i fwy ar eu *allowance* o fwg a thrwyth. Y mae hyn yn creu ammheuaeth mewn perthynas i rinwedd ymborth newydd y dyddiau diweddaf, ac yn rhoi tueddiad mewn llawer un, yn enwedig y meddygon, i feddwl mai methu treulio ychwaneg o'r ymbotth arall mae y mygwyr a r cnowyr, o herwydd fod cymmaint o'r defnydd treuliawl sydd yn y cylla a'r genau yn myned i wlychu y tomeni, a golchi y safn ar oi bod y simnai ynddi. Nid anturiwn ni ddweyd llawer am y bibell a'r gno, ond gallwn ddweyd fod eu coleddwyr yn ddynion glwth iawn, canys mae naill ai y simnai neu y domen yn wastadol yn eu genau, a garw fel yr ymroddant i'w sugno, nes nad oes ganddynt ddim i wneyd ond ymborthi yn y dull hyny. Y mae rhai o honynt yr un liw â'r mwg, a'r lleill â gwteri o lysnafedd coch yn cyffymu lawr ar draws eu ceg. Ni all neb fod yn ddyn cyflawn, os na fydd felly; ac y mae llawer yn synu pa fodd yr ydym ni yn gallu gweithio, heb ymwneyd dim â'r tybaco. Y gwir yw, po bellaf y byddo y creadur hwnw oddiwrthym ni, hawsaf i gyd y medrwn gyflawni ein gwaith, er fod ereill yn ceisio ein perswadio fel arall. Meddyliwn ni y gallem fyw oll heb ddybaco, gystal â rhyw greaduriaid ereill, ac y gallem osod y simneiau a'r tomeni yn y lle y dylasent fod. Credwn fod llawer yn methu yn deg â chael amser, gan eu hawydd am ddybaco, i ddarllen tipyn ar yr UDGORN; o herwydd y mae un chwaer wedi ysgrifenu atom i ddweyd fod ei chyfeillion hi, ar ol cael digon o *hint* yn ein cyhoeddiad, yn dod i'w thŷ yn barhaus ar amser bwyd, i chwythu mwg i'w cheg a'i llygaid, a thaflu eu hen lysnafedd ar hyd y llawr, nes nad yw er ys tro mawr wedi gwybod pa beth yw blas na lliw ei hymborth gan y mwg. Bygythia eu hysgaldanu, os na chymmerant rybydd y tro hwn; a phwy a all ei beio, wedi rhybyddio ddwywaith? Mae'r arferiad o gnoi ac ysmocio mor boblogaidd, fel ag y mae cannoedd o ddynion yn cario eu tomeni i "dy Dduw," ys dywed y sectau, nes ag y mae gwaelod y corau megys afonydd o waed elephantod; ac oni buasai ofn yr elai "gwas Duw" o'r golwg yn y mwg, credwn y buasai y simneiau yn gweithio eu goreu. Pe gallent lwyddo i lyncu eu mwg, dichon y gallent ysmocio yn y cwrdd; efallai y gallant, trwy ymdrechu tipyn, canys trwy ymdrech y daethant i ysmocio fel ag y gwnant. Yna

wedi dysgu ysmocio yn y cwrdd, y gorchwyl nesaf fydd dysgu ysmocio yn y gwely, pan yn nghwsg; ac o radd i radd, daw dynion i fyw yn gwbl ar fwg y bibell a thrwyth y domen. Pwy na ddywed wed'yn, na fydd y mil blynyddau wedi gwawrio arnom, er mai blynyddau lled fyglyd a fyddant, ac na fydd "mwg" eu pibellau "yn myned i fyny yn oes oesoedd." Gadawn ar hyna yn bresennol, er mwyn cael barn ambell un erbyn y mis nesaf, pan cawn ymresymu ychydig mewn ffordd arall.

---

## ENGLYNION I "UDGORN SEION."

ANWYL HYBARCHUS OLYGYDD,—Wele fi yn anfon yr ychydig linellau hyn atoch; ac os gwelwch hwynt yn deilwng o ymddangosiad, rhowch eich UDGORN wrth eich min, a chwythwch hwynt allan trwy boll Walia, nes byddo masgnachwyr y ffug-chwedlau yn agor eu llygaid, nes y byddont idd eu gweled gymmaint â chregyn wystrys; gan obeithio y bydd yn foddion idd eu dwyn i ystyriaeth, a gadael heibio, rhag gwarth, fasgnachu mewn nwyddau mor wael. Palla amser yn bresennol i mi fanylu arnynt: ychwaneg rhyw dro etto.

Dy UDGORN a fyddo'n dadgan—yr uniawn
Wirionedd yn mhobman;
Tyred, a'i swn mal taran;
Ymro'n deg—rho Gymru'n dân.

Udganed, llwydded nes lladdo—rhagfarn,
A rhegfeydd blin hono;
Celwydd o'i flaen fo'n cilio,
A'u rhwyg ddu fyth rhagddo fo.

Mae 'rwan rhy fychan o faint—i'n noddi,
Cynnydded o rhywfaint;
Camwedd na fai ddeg cymmaint,
Yn ei swydd, er mwyn y Saint.

Os daw ar brint rhyw 'stori bren,—ffregod
Am ffroga ddyscleirwen,*
Yn ddifraw d'wed yn llawen,
Dyna bwnc i'w dwyn i ben.

Ffeirio'n dlawd â'u phosphorus—a wnaethant,
Yn eithaf c'wilyddus;
Pob rhyw dro drwg, twyllodrus,
A fâl hwn o'i flaen fel us.

* Cyfeiria ein cyfaill at y celwyddau hyny a gyhoeddir am y Saint, o fod pren pwdr a brogaid ganddynt yn eu cyfarfodydd, er dynwaredu yr Ysbryd Glân.—GOL.

Cîl wgus gwyr y colegau,—oernaws,
Sydd arnat yn ddiau;
Ydynt a'u dywediadau,
Yn dwyll i gyd oll, a gau.

Uno i ladd Mormoniaeth,—ow! g'wilydd,
Fal gwelir sectariaeth;
Pw! pawb oll, ïe, pob *aeth*,
Sy'n toddi o flaen Saintyddiaeth.

DANIEL AP IAGO.

---

## BARN DDIDRUGAREDD.

CYNNALIWYD cyfarfod barnol yn Newmarket, yn ddiweddar, gan Mr. Jones, gweinidog y Methodistiaid Calfinaidd, a chollfarnodd yr holl Saint i fyned i uffern! a hyny mor sicr, meddai ef, â bod Beelsebub yno: a phan y daethum i ar fy nghylchdaith heibio i'r lle, aethum i ymweled â'r barnwr rhyfedd hwnw, i'r dyben o gael gwybod ganddo os oedd ei awdurdod ef yn freiniol, a'i farn yn gyfiawn, ac â pha gyfraith oedd yn eu condemnio oll. Yr oeddwn i am gael eu hachos i ail dreial, am nad oedd yr un cynghorwr ganddynt yn y lle; ond nid oedd ef yn barod i hyny, ac hefyd nid oedd ganddo amser; ac am hyny, ebe efe, gwnewch un arwydd fach, a thyna derfyn ar bob dadl am byth. Gofynais i'r barnwr a wnai ef adael ei grefydd, ac ymuno â'r Saint, os cai ef arwydd; a'r ateb a gefais oedd, y gwnelai yn y man, a thyna i gyd oedd eisieu ar bawb. Wele y barnwr hwn yn barnu dros bawb i ymuno â'r gau-brophwydi, pan y byddant yn gwneuthur arwyddion mawrion, hyd oni fyddant yn peri i dân ddisgyn o'r nef i'r ddaear yn ngolwg dynion! Ond y pwnc yw, am ba beth y collfarnwyd y Saint oll? O, tebyg y mae am gredu yn, ac ufyddhau i reolau dihalog Mab Duw,—sef, ffydd ac edifeirwch, bedydd er maddeuant, arddodiad dwylaw, a deisyf y doniau a grybwyllir yn 1 Cor. xii? neu am beidio gwneyd arwyddion i'r genedlaeth ddrwg a godinebus sydd yn eu gofyn? Wel, am hyny y cafodd Iesu a'i weision eu collfarnu hefyd, ac am wneuthur ambell drugaredd i'r rhai gonest oedd yn credu eu danfoniad; ac felly y Saint hefyd! Clywais fod brawd Mr. Jones, sef y Parch. Morgan Howells, yn sasiwn Aberystwyth, wrth yr un grefft barchus o erlid plant Duw, a'u galw yn Sataniaid, &c. Wrth hyny, efallai, yr ennillant iddynt eu hunain y teitl uchel o ddi-

fenwyr! Yn awr, dymunaf osod ychydig o ofyniadau o flaen Mr. Jones, gan obeithio y gwel yn dda eu hateb.

1. Pwy a roddodd yr awdurdod i chwi farnu y Saint?

2. A oedd eich barn yn gyfiawn?

3. Yn ol pa gyfraith yr oeddech chwi yn barnu? a fydd yn rhaid i Grist eu barnu ar eich hol?

4. A fydd yn rhaid barnu pawb etto drwy'r gwledydd, ag a gyflawnant yr un trosedd, sef ymuno â'r Saint?

5. Pa mor fynych y bydd y farn yn eistedd?

6. A ydyw pawb i gael yr un gosp, am yr un trosedd?

7. A oes posiblrwydd ysgoi y farn, os gwnant gredu drwy arwyddion, ac yna ymuno â'r Saint, fel yr addawsoch chwi wneyd?

8. Pwy a all eich barnu chwi?

9. A ydych yn foddlawn i gael eich barnu, fel y bernwch chwi?

ABEL EVANS.

---

## GWYRTH AR Y GLOWR BACH.

O HERWYDD fod cymmaint o siarad celwyddog ynghylch y bachgenyn uchod, ystyriwn mai doethineb yw rhoddi yr hyn a wyddom am dano o flaen y cyhoedd, fel y gallont hwy farnu yn gywir. Ar yr 8fed o'r mis hwn, ymddengys i fachgenyn bach un o'r Saint, yr hwn oedd yn gweithio yn ngwaith glo y Plymouth, yn Merthyr, gael ei daraw yn sydyn i anhwyldeb mawr, nes meddyliodd y glowyr yn anghenrheidiol iddynt ei gario gartref ar blencyn i Dwynyrodyn. Yr unig beth a allodd y bachgenyn roi ar ddeall oedd, ei fod yn ewyllysio galw un o henuriaid ei eglwys ato. Rhedodd un o'r glowyr yn union i ymofyn henuriad, yr hwn pan glywodd a adawodd ei waith, ac a ddilynodd y glowr tua thŷ y bachgenyn. Ar eu gwaith yn nesu yno, cynghorodd yr henuriad ei arweinydd i fyned ychydig o'i flaen, fel na fuasai neb yn sylwi; ond cafodd ei siomi yn fawr pan welodd y tŷ wedi ei amgylchu gan holl lowyr Plymouth, a chan y cymmydogion, a bu bron cael ei dueddu i droi yn ol. Nid cynt y gwelodd y glowyr yr henuriad, nag y bloeddiasant, "Yn awr am wyrth;" ac yna i mewn â hwy, ar ol yr henuriad, i'r tŷ, nes yr oedd yn rhy lawn i wneyd gwyrth na dim arall. Y peth cyntaf a wnaeth yr henuriad oedd dymuno arnynt i fyned allan, yr hyn a wnaethant; ond, er hyny, yr oeddynt yn penderfynu mynu gweled y wyrth, a chyn pen eiliad yr oedd eu gwynebau duon yn llanw y ffenestr;

ac yr oedd un neu ddau hefyd heb fyned allan. Yna trodd yr henuriad at y gwely i edrych ar y bachgenyn, ac wedi ymaflyd ynddo a gofyn rhywbeth iddo, ond yn methu cael dim oddiwrtho fwy nâ'r marw, cododd ef, trwy gynnorthwy brawd arall, yn ei eistedd ar y gwely, heb wybod yn y byd beth oedd arno; ac yn y fan wedi i'r henuriad osod ei ddwylaw ar ei ben a gweddio, daeth y bachgenyn yn holliach, a neidiodd o'r gwely yn ngwydd pawb! Gyda hyny dyma y glowyr yn rhuthro i mewn drachefn, ac yn syllu yn ngwyneb y gwr bach, gan haeru na fu dim arno; ond ereill, yn fwy onest, a gyfaddefent fod rhywbeth wedi bod allan o le, eithr mai gwella a wnaeth o hono ei hun. Daeth y meddyg Proberts i mewn hefyd yn fuan ar eu hol, a gofynodd beth oedd y mater ar y bachgenyn, pan yr atebodd yr henuriad nad oedd dim arno y pryd hyny; ac yna y doctor a deimlodd guriad y gwaed, ac mewn digllonedd cyhoeddodd y bachgenyn yn un a deilyngai y chwip, gan ddiferu addewid ar yr un pryd y mynai efe weled y gwr bach yn cael ei droi o'r gwaith! Cafodd pob un roi ei ddedfryd ynghylch yr hyn a ddygwyddodd, heb i'r henuriad gynnyg un gwrthddadl; a thrwy hyny cafodd lonyddwch i fyned tua thref trwy ganol y dorf, heb i un gareg dyllu ei het. Dyna yw yr oll a wyr yr henuriad am wyrth y glowr bach. Pa un a oedd rhywbeth allan o le ar y bachgenyn, y glowyr a'i cariodd adref ddylasai wybod oreu, ac nid y meddyg a ddaeth ato wedi iddo wella. Os gallai crwtyn bach dwyllo holl lowyr y Plymouth, nes iddynt feddwl ei fod yn marw ar lân y pwll, ac ofni na chyrhaeddai adref yn fyw, a hwythau yn gwybod ei fod yn un o'r "twyllwyr" cyn hyny,—os cawsant hwy oll eu twyllo, yna gwell i'n brodyr beidio treulio mwy o amser i bregethu iddynt hwy, canys y maent yn ddynion rhy ddwl i wneyd Saint na Sataniaid!

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR BENFRO.

Cafodd Cymmanfa Sir Benfro ei chynnal yn nghapel Heol-y-bont, Hwlffordd, ar y 6fed a'r 7fed o Fai, dan lywyddiaeth John Moris. Ar gynnrychioliad y Gynnadledd, cafwyd ei bod yn cynnwys 4 cangen, a 75 o aelodau, yn mhlith pa rai y mae 7 henuriad, 7 offeiriad, 2 athraw, ac 1 deacon; bedyddiwyd er Ionawr, 23; wedi ymfudo, 11. Anerchwyd y gwahanol gyfarfodydd gan y brodyr Abel Evans, Wm. Rees, &c. Derbyniwyd tri i'r eglwys yn ystod y gymmanfa, ac arwyddion lled dda am yr amser dyfodol. J. Morris, *Llywydd.*

## LLYTHYR ODDIWRTH CAPT. JONES AT Y LLYWYDD WILLIAM PHILLIPS.

*St. Louis, Ebrill 30ain*, 1849.

FY ANWYL FRAWD PHILLIPS,—Yn ganlynol i'r hanes manwl o'n mordaith a anfonais i'r Brawd J. Davis o New Orleans, ychwanegaf ar frys ddarfod i ni oll gyrhaedd yma dydd Sadwrn, yr 28ain.

Yn New Orleans, daliasom fudwyr y llong "Ashland," yr hon a gychwynasai o Lynlleifiad, gyda thua 200 o Saint, rai wythnosau o'n blaen. Llogais agerfad, a chymmerais hwynt a'r Saint Cymreig gyda mi ynddi, pris y cludiad am 1100 o filltiroedd i fyny yr afon yw, (i ni) 2 ddollar 25 cent, neu oddeutu deg swllt! a chawn gludo yn hyny gan pwys o *freight*. Daeth yr agerfad i ochr ein llong i gymmeryd ein nwyddau i mewn, yr hyn a arbedodd lawer o gost a cholled. Y mae y Cholera yn ddrwg iawn yn New Orleans, ac y mae llawer yn marw ar yr agerfadau hyd yr afonydd, yn enwedig ymfudwyr. Mewn un bad a aeth o'n blaen, bu 42 farw o'r Cholera, ar eu taith arall, 19, &c.; ond nid Saint oeddynt. Drwy fod yn ofalus i gadw glanweithdra, i beidio yfed dwfr yr afon, heb adael iddo waelodi, rhoi alum neu flawd ceirch ynddo—trwy fod yn ffyddiog a duwiol—trwy beidio bwyta ffrwythydd, cigoedd, &c. —mewn gair, trwy ymdrech fel am fywyd yn mhob ystyr, a thrwy fendith Duw ar ei ordinhadau, diolch iddo, daeth y Saint Cymreig yn fyw ac yn iach hyd yma, oddieithr un brawd anwyl o'r enw Jenkin Williams o Aberdare, yr hwn a fu yn fachgen da iawn a ffyddlon yr holl fordaith, eithr yn groes i'r cynghorion a roddid, a gelodd y geri hyd ag y gallai, gan gymmeryd ei ffordd ei hun i'w drafod trwy *frandy*; a'r canlyniad galarus a fu, iddo farw yma yn mhen ychydig oriau ar ol cyrhaedd, a chladdwyd ef yn barchus. Ychydig fynydau cyn ei farw, gadawodd dystiolaeth dda hynod ar ei ol, a dywedodd ei fod yn hollol ddedwydd wrth wynebu angeu. Bu farw hefyd blentyn ieuengaf R. Price o Ddowlais, o'r darfodedigaeth. Dyma'r oll a fu farw o'r Cymry hyd yma. Eithr o'r Saint Seisnig bu farw dwy wraig ac un plentyn o'r geri marwol; synai swyddwyr y bad mor lleied o farw oedd yn ein plith, a gofynent bob boreu, "onid oes neb o honoch wedi marw etto ?" mewn syndod. Ganwyd gan wraig Samuel Lee, Llanelli, faban; ac hefyd gan wraig John Rees o Gaerdyf, blentyn marw. Gwellha y mamau yn rhagorol.

Ddoe llogais agerfad yma i'n cludo i Council Bluffs, am 16s. yr un, a 100 pwys yn rhydd, a 2s. y cant am *freight* a fo dros hyny. Rhwng y Saint ag sydd yma, llanwn y cabanau a'r oll. Daw i ochr y llall i'n cymmeryd ni a'n nwyddau i mewn, fel, o Lynlleifiad i Council Bluffs, ni chostia i neb o'r Cymry geiniog am symud eu nwyddau! Mae pawb yn iach heddyw a chalonog, ac yn garfoleddu yn eu braint, ac yn awyddus i fyned yn y blaen. Gwell newyddion o'r gorllewin o hyd. Mae yma o dair i bedair mil o Saint. Mae Mormoniaeth yn ennill poblogrwydd yn awr mor gyflym ag y dynoethir bradwrus ddichellion ei chamgyhuddwyr maleisus. "Mae y ffaith yn rhy amlwg i'w chelu yn hwy, eu bod

hwy yn bobl nerthol, ddeallus, diwyd, a boneddigaidd, ac yn ddinasyddion da," ebe y cyhoeddiadau yn awr am y Saint; a phawb yn chwenychu eu ffafr. Da yw hyn; buont yn gynffon ddigon hir. Yma prynwn haiarn i wneyd wageni yn Council Buffs, a blawd a chig, *groceries*, a phob peth angbenrheidiol i'r daith hyd California, ac i wladychu yno. Cawn bob cyfle i gynnal cyrddau cyhoeddus bob dydd a phob nos, yn mhob bad; pan yr oeddwn i yma o'r blaen, buasai yn werth bywyd dyn i ddweyd ei fod yn Formoniad!

Mai 1af.—Llogasom agerfad, a symudasom iddi ddoe, i'n cludo hyd Council Bluffs, 900 o filltiroedd i fyny yr afon Missouri, am 16s 8c. yr un, a hanner pris am blant rhwng 4 a 14 oed; a dan hyny, ddim; cawn gan pwys o *luggage* heb dalu, a thalwn 2s. y cant am y gweddill. Cychwynwn oddiyma y fory. Prynasom ein hymboith yma i gyrhaedd i'r dyffryn. Hefyd ein *stoves*, haiarn i wneyd wageni, dilladau, arfau, nwyfau, &c., &c. Hyd yma, nid yw ein taith mor ddrud ag y nodais yn y Prophwyd; ac, hyd a ddeallaf etto, nid yw costau ddim nemawr yn wahanol i'r hyn a nodais yno. Mae y geri marwol yn lladd lluoedd yma yn awr. Bu farw un henuriad ffyddlon ac anwyl y boreu heddyw, sef Benjamin Francis, a mawr y galar ar ei ol. Anhawdd cael ei ffyddlonach yn ei fywyd, a dedwydd y bu farw. Daw ei wraig a'i blant yn mlaen gyda ni. Aeth Benj. Jones, a'i holl deulu, yn anafus o anffyddlon, oddieithr ei wraig. Aethant ymaith ar y ffordd i ddistryw ar garlam heddyw. Aeth David Giles a David Jones, a'i wraig gyda hwynt, yn hollol ddiarwybod i mi. Gofalaf fi yn well y tro nesaf beidio dod â Saint, ond rhai ffyddlon, gyda mi.

Clywais fod fy anwyl wraig ar y môr yn fy nilyn; os felly, yr Arglwydd grasol a'i cadwo yw fy ngweddi yn barhaus

Anwyl Frawd, byddwch ffyddlon a dewr drwy bob erlid i iawn arwain y praidd anwyl a adewais dan eich gofal. Chwi swyddwyr, cofiwch fy nghynghorion i chwi, meithrinwch Ysbryd y goleuni, carwch y Saint, a phorthwch hwynt â gwirionedd; a Duw Israel a'ch bendithio yn helaeth. Amen. Cofiwch fi at bawb ar unwaith, a'm brawd a'i deulu, a'ch teulu eich hun, &c.

Eich Brawd yn yr efengyl,

D. JONES.

[Nid ein gwaith ni yw rhoddi coel i ddim a ddywed neu a ysgrifeno neb mewn perthynas i'r ymfudwyr, ond yr hyn a dderbyniom o'r ffynnonell. Mae groesaw i'r personau hyny sydd yn ein cyhuddo o ddarnguddio y llythyron, ddyfod yma eu hunain i weled y rhai gwreiddiol, fel ag y mae rhai wedi gwneyd.—GOL.]

---

## Y CHOLERA.

MEGYS y rhag-fynegwyd trwy enau gweision Duw, y mae'r pläau yn dechreu cael eu tywallt ar wahanol ranau o'r ddaear, ac yn dystrywio bob ffordd y tramwyant. Wedi ymweled â llawer o drefydd Lloegr, y mae yr hyn a enwir yn Asiatic Cholera wedi dyfod ar ei daith i Gaerdyf, Merthyr-Tydfil, a lleoedd cyfagos, ac y mae yn gwneyd difrod enbyd yn mhlith ein cydgenedl. Yr oedd

204 wedi marw yn Merthyr ar y 18fed o'r mis hwn, ac oddiar hyny y mae'r marwolaethau yn cynnyddu yn barhaus. Cafodd llawer o'r Saint eu cymmeryd yn glaf, ond llwyddwyd trwy yr ordinhadau i'w badferyd oll, oddieithr rhyw ychydig, i ba rai ni chafwyd cyfleusdra da i weinyddu, o herwydd gelyniaeth doctoriaid a chymmydogion. Rhoddwn ragor yn y nesaf.

---

## AMRYWIAETHAU.

Dweyd ar Antur.—"Yr wyf wedi blino i farwolaeth." Dywedaist hyna lawer gwaith o'r blaen, ac etto yn fyw o hyd, ac mewn iechyd da hefyd.—"Ni chysgais winc drwy'r nos." Ac etto clywodd dy gyfaill di yn chwyrnu lawer gwaith.—"Ni wnawn hyny am y byd." Ac etto gwnest lawer o bethau oedd yn waeth am geiniog.—"Bum hyd fy mhenliniau mewn llaid." Ac etto gwyddost yn eithaf da na fuaist dros dy esgidiau.

Mari Lwyd.—Yn nghapel Hermon, Nantyglo, yn ddiweddar, wedi i ryw Barchedig orphen ei bregeth, dywedodd fod ganddo lyfryn defnyddiol iawn ar werth, yr hwn a fu yn destun myfyrdod iddo am dair blynedd, yn rhoddi Hanes Dechreuad *Mari Lwyd!* Beth geir yn nesaf?

Pregethwr Effeithiol.—Mae pregethwr ar ei daith yn awr yn Merthyr ag sydd yn boblogaidd iawn gyda phob enwad; argyhoedda yn llym ac yn effeithiol; a gwna i bawb wrandaw yn astud ac am eu bywyd. Mae parchedigion y lle wedi gwneyd eu goreu, a'r Saint yn rhagorach, ond â hwn tu hwnt i bawb: sobra y meddw, argyhoedda y pechadur, dwg yr afradlawn adref, a lleinw y capeli â mwy o wynebau hir a gwepog nag erioed o'r blaen. Effeithir hyn oll gan y Parch. Asiatic Cholera!

Cynghor.—Yn eich ymddyddanion cymmerwch ofal beth a lefaroch, wrth bwy y llefaroch, pa fodd y llefaroch, a pha bryd y llefaroch; yr hyn lefaroch, llefarwch y gwirionedd; a phan lefaroch, llefarwch yn gall; calonau y ffyliaid sydd yn eu tafodau, ond tafodau y doethion sydd yn eu calonau.

Sylwad Call.—Fod y cybydd yn ceryddu afradlondeb, yr anffyddiwr yn ceryddu eilun-addoliaeth, y gormeswr yn ceryddu gwrthryfel, y celwyddwr yn ceryddu lledrad, neu y meddwyn yn ceryddu anghymmedroldeb, sydd ddim amgen nâ phechod yn ceryddu drygioni.

### SATAN A SANT.

Pan elwir "Satan" ar dy ol,
Gan blant rhyw dduwiol grefydd,
Ystyria hyny'n beth i "Sant,"
Sy'n well nâ chant o glodydd.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 7.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

CYF. I.] GORPHENAF, 1849. [PRIS 2c.

CYNHWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1849.

☞ Dymuna y brawd Thos. Pugh, llywydd Cynnadledd Orllewinol Morganwg, rybyddio yr holl Saint Cymreig, i beidio gwneyd derbyniad o William ac Elizabeth Hughes, o'i gynnadledd ef, nes y caffo efe gyfle i'w gweled etto, a rhoi llythyr arall iddynt.

☞ Mae'r brawd Wm. Howells, o Aberdâr, wedi ei ddanfon yn genadwr i Ffrainc, a'i alw i'r arch-offeiriadaeth; ac y mae eisoes wedi pregethu yn y Ffrengaeg, a dosparthu cannoedd o'r traethawd Ffrengig a agraffodd yma, ynghyd â llyfrau Seisnig. Yr Arglwydd a'i bendithio yn helaeth.

"Pleidiwr i'r Bibell a'r Gno."—Pan y byddo yn ysgrifenu yn ein herbyn mewn cyhoeddiad arall, na chuddied ei enw, fel y gwnaeth oddiwrthym ni; onide, geill gael ei siomi etto.

☞ Gofaled Llywyddion y Cynnadleddau ddanfon hanes eu Cymmanfaoedd atom yn brydlawn, ac nid rhywbryd.

Llyfr Hymnau.—Anghofiasom ddweyd yn ei Ragymadrodd, fod yr arwyddnod hwn (—), ar ol yr hymnau, yn dangos fod yr awdwyr yn anhysbys. Yn Hymn 190, y mae'r gair *all* yn eisieu yn y linell Seisnig ganlynol:—

"The sun, and the moon, and the stars *all* shall darken."

☞ Nid ydym wedi clywed o Council Bluffs etto, ond dysgwyliwn lythyr bob dydd. Mewn perthynas i Ddinas y Llyn Halen, nid oes nemawr newydd, ond yn unig fod lluoedd o deuluoedd, y rhai a ânt allan dan yr esgus o ymofyn aur, yn bwriadu ymuno â'r Saint yn ddirgelaidd yno, a chartrefu yn eu plith.

"T. L."—Na, y mae yn hollol anfoneddigaidd yn y brawd hwnw i gyrhaedd llyfrau o'ch llyfrgell, a darllen y llythyron sydd yno, bob tro y daw i'ch tŷ. Os na wel hyn, dywedwch wrtho yn garedig am beidio y tro nesaf.

☞ Ymdrechwn wneyd defnydd o ysgrifau A. Evans, J. Morris, &c., yn y nesaf. Nis gwyddom pa beth i ddweyd wrth ein diwyd brydyddion, y rhai a gyfansoddant ddigon o bennillion i lanw ein cyhoeddiad bob mis; os dywedwn y cyhoeddwn y cyfan, ofnwn y bydd yn anwiredd noeth; ac am hyny, meddyliwn mai gwell yw bod yn ddystaw.

"Ifan Bach."—Mae pob un o'r Saint a gyfrano i glwbau claddu, yn meddwl marw yn Mabilon; ac y mae'r sawl a gyfrano gogyfer ag afiechyd, yn credu y bydd yn glaf, ac na wna Duw ei wella.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 7.] GORPHENAF, 1849. [CYF. I.

## DADGUDDIADAU A GWELEDIGAETHAU.

Y FARN gyffredinol oedd, hyd yn ddiweddar iawn, fod oes y dadguddiadau a'r gweledigaethau wedi darfod oddiar amser yr apostolion, ac nas gallai y rhai hyny fod o un lles i neb wedi yr amser hwnw, gan y tybid fod pob peth angheurheidiol i'w wybod wedi ei ysgrifenu yn yr ysgrythyrau, ac nad oedd eisieu dim byd yn ychwaneg. Ond yn awr, mae y wawr wedi tori ar y byd, a dechreua llawer o ddynion, heblaw y Saint, gredu yn yr anghenrheidrwydd o ddadguddiadau a gweledigaethau; ac y maent â'u holl egni yn ceisio cael gafael ynddynt, rhai trwy gyfrwng hyfforddiadau Crist a'r apostolion, ac ereill trwy gyfrwng Mesmeryddiaeth. Y mae dadguddiadau a gweledigaethau wedi bod yn cael eu hamlygu yn mhob oes o'r byd, ond nid un amser yn fwy nâ phan fyddai gweision Duw yn ymdrechu achub plant y tywyllwch allan o deyrnas y diafol. Os byddai Duw yn amlygu ei feddwl trwy ddadguddiad a gweledigaeth, ymdrechai y diafol ei wrthwynebu trwy yr un cyfryngau. Nid yw yr hyn y mae dynion yn weled neu yn ddadguddio idd eu gilydd, yn un rhyfeddod i neb; ond pan fyddo bodau ysbrydol yn hysbysu eu cyfrinach i'w brodyr sy'n preswylio mewn cnawd ar y ddaear, ac yn dangos iddynt weledigaethau, cyfrifir y cyfan yn syndod o'r mwyaf, ac yn weithrediadau goruwch-naturiol.

Gellir dirnad yn burion pa fodd y mae dynion yn derbyn dadguddiadau ysbrydol; canys y mae yn anmhosibl iddynt wybod yr hyn sydd yn meddiant yr ysbrydion, oddieithr i'r rhai hyny ei

hysbysu iddynt, trwy ddylanwadu ar eu hysbrydoedd hwy. Y mae llawer math o ddadguddiadau yn cael eu rhoddi i ddynion, rhai o natur dda, ac ereill o natur ddrwg, i ateb y gwahanol dueddiadau sydd yn mhlith dynolryw. Fel ag y mae dynion yn ewyllysio dadguddio yr hyn fo yn dda neu yn ddrwg i'w gilydd; felly y mae ysbrydion da a drwg hefyd yn barod i wneyd yn hysbys i'w gilydd, yn gystal ag i ddynion, yr hyn sydd fwyaf yn ol eu gwahanol dueddiadau. Nid ydym yn ammau nad oes hawl yn cael ei rhoddi i ddynion, trwy ufyddhau i wahanol athrawiaethau perthynol i Dduw neu'r diafol, i erfyn am wasanaeth ysbrydion gwasanaethgar y ddau lywodraethwr hyn, er eu cynnorthwyo i gario eu hamcanion yn mlaen ar y ddaear.

Etto, mewn perthynas i weledigaethau, nis gallwn gyfrif yn foddhaol pa fodd y maent yn cael eu dwyn oddiamgylch, a'u cyfleu o flaen llygaid dynion, pan yn nghwsg fel ar ddihun. Gwyddom fod y rhai a fesmereiddir oddiamgylch i ni, yn cael weithiau olwg mor eglur ar geryg-feddau a fyddo mewn cwr pell, nes y medrant eu darllen heb golli llythyren, pan na wyddent ddim yn flaenorol yn eu cylch. Dro arall, dywedant eu bod yn canfod Capt. Jones a'i ganlynwyr ychydig o filltiroedd o Council Bluffs, ar y ffordd i Ddinas y Llyn Halen. Dylid deall gyda llaw am y cysgadwyr hyn, nad yw pob peth a welant yn wirionedd; ond, serch fod digon o brofion dros rai pethau a ddywedant, etto cafwyd hwy yn gelwyddog ynghylch pethau ereill. Yn y fan hyn dymunwn sylwi, nad yw methiad neu ddau, yn un prawf nad yw y dynion yma yn dadguddio llawer o bethau gwirioneddol, y rhai a ddaliant brawf. Yn awr, mae yn amlwg nad yw eu hysbrydoedd hwy, yn ystod y gweledigaethau, yn myned allan o'u cyrff, onide beth fyddai yno yn darlunio y weledigaeth ar y pryd? Nid ydym ni erioed wedi deall athroniaeth gweledigaethau, ac am hyny nis gallwn fynegi pa fodd y mae'r golygfeydd dan sylw yn cael eu cludo o'r fath bellder dirfawr, a'u gosod o flaen llygaid ysbrydol y cysgadur. Ond pe byddem yn gallu dirnad pa fodd yr oedd Satan yn medru dangos holl deyrnasoedd y byd o flaen llygaid ein Hiachawdwr, hwyrach na ddeallem pa fodd y mae'r mesmeriedigion yn bresennol yn cael eu

gweledigaethau hwy. Mae yr egwyddor o fedru dangos gweledigaethau yn ardderchog iawn; nid yn unig fe ellir dangos yr hyn sydd yn bodoli ar y pryd, ond hefyd yr hyn a fodola mewn amser dyfodol. Weithiau dwg y nef yn agored o flaen y llygaid, fel y gwnaeth i'r Stephan hwnw a labyddiwyd â cheryg, lle y gwelodd yr Iesu yn eistedd ar ddeheulaw ei Dad; a phryd arall, anrhegir rhywun, fe allai, fel Ioan ar ynys Patmos, â golwg ar y pydew diwaelod, a Satan a'i angylion yn cael eu bwrw iddo.

Mae'r pethau uchod yn hynod, ac i raddau uwchlaw ein deall yn bresennol; ond gwyddom fod yn anghenrheidiol i ni a'n darllenwyr wylio, yn ngwyneb y cymhelliadau cyffredinol sydd yn cael eu rhoddi yn awr i ddeisyf gweledigaethau a dadguddiadau, na fyddom yn boddloni ar y rhai a ddichon fod yn deillio o'r diafol, yn lle o Dduw. Gan fod tuedd yn y byd yn mhob oes i ystyried rhoddion y diafol yn roddion dwyfol, gweddai i ni brofi pob ysbryd sydd yn cynnyg pethau o'r fath. Mae dau Sais wedi bod yn areithio ar Fesmeryddiaeth yn y lle hwn, ac ymddengys fod un o honynt yn dweyd mai trwy Ysbryd Duw y cyflwynir gweledigaethau a dadguddiadau i'r rhai ag y maent yn fesmereiddio; a dangosent mai trwy offerynoliaeth DWYLAW, yn yr oes hon, fel yn yr amser gynt, y mae derbyn yr Ysbryd hwnw. Nid rhyfedd, gan hyny, fod parchedigion, yn gystal â glowyr, yn talu arian yn bresennol am gael gallu i gyflwyno yr Ysbryd hwnw i bwy bynag a ewyllysiont. Os mai Ysbryd Duw a geir fel hyn am *arian*, paham y buwyd mor drwsgl wrth Simon Magus gynt am gynnyg yr un peth i'r apostolion?

Mae ffeithiau yn profi yn awr, fod y diafol yn ffurfio ei hen deyrnas ranedig rywfaint yn debycach i deyrnas Dduw, trwy fendithio ei ddeiliaid, wedi hir amddifadrwydd, â rhyw ddoniau ysbrydol, y rhai a gynnwysant yn barod ddadguddiadau, gweledigaethau, doniau iachâu, a rhyw ychydig o wahaniaeth ysbrydoedd. Credir y bydd yn beryglus bob yn ychydig, i'r Saint ddweyd fod enwadau ein gwlad yn gwadu dadguddiad a'r doniau ysbrydol. Eisoes bedyddir gan rai yma er maddeuant pechodau, gan fod yn lled ffafriol i osodiad dwylaw hefyd; yr hyn a awgryma fod cil y drws yn agored i'r doniau dan sylw.

Gwelir wrth hyn oll, fod anghen dysgu yr holl Saint i adeiladu eu hunain ar y "GRAIG" hono o *ddadguddiad dwyfol*, a brofodd mor safadwy i'r apostol Pedr, a'r hon ni chafodd mewn cyflwr o gysgadrwydd, ond pan yn ei gyflawn synwyrau, a hyny gan Dduw. O hyn allan, daw y diafol yn fwy neillduol i wneuthur arwyddion a rhyfeddodau trwy ddoethineb dynion, er boddloni ac argyhoeddi y rhai hyny a fu yn eu ceisio gan y Saint mor hir; ac yn y cyfamser bydd Duw â'i bläau a'i farnedigaethau o bryd i bryd, yn ysgubo y byd yn raddol o'i breswylwyr, nes yn y diwedd na adawa ond "gweddill" yn unig i roesawi dyfodiad gogoneddus ei anwyl Fab.

---

## Y "DONIAU YSBRYDOL" YN MRAWDLYS Y GELYN.

### "GWAHANIAETH YSBRYDOEDD."

Y DDAWN uchod yw y seithfed yn y frawdlys, a dywed y Sylwedydd mai "dyben y ddawn o wahaniaeth ysbrydoedd oedd adnabod gwahaniaeth rhwng y *gwir* brophwyd, a'r *gau* brophwyd —rhwng gwas i Dduw, a chenad Satan." Etto, dywed, "Yn gymmaint ag nad oedd y rhai oeddynt wedi troi oddiwrth Iuddewaeth at Gristionogaeth, yn meddu y Testament Newydd y pryd hyny, anghenrheidiol oedd bod Crist yn gosod rhywbeth yn safon yn ei eglwys, i brofi yr athrawon a ddeuent oddiamgylch. Credwn mai y ddawn o wahaniaeth ysbrydoedd oedd hono." Y mae Mr. Sylwedydd, ar y cyfan, yn lled gysson ynghylch y ddawn hon, oddieithr ei fod yn ei gwneyd yn rywbeth nad oedd eisieu ar ol cael y Testament Newydd: ar yr un tir gallai ddweyd hefyd nad oedd eisieu Ysbryd Glân ar neb, ar ol iddynt gael y llyfr hwnw. Pa fodd y gall llyfr gadw yr hyn a roddwyd gan yr Ysbryd yn llestr pridd dyn, a hyny yn eglurhaol? Pa fodd y gall llyfr ddefnyddio dawn o lefaru, prophwydo, neu wahaniaethu ysbrydoedd? Mae yn rhaid cael tafod i lefaru, a llygaid i wahaniaethu. Pa Destament a adnebydd ddiafol pan y byddo "yn rhith angel y goleuni?" Yn ol tystiolaeth y Sylwedydd, y mae anghenrheidrwydd am ddawn felly yn yr oes hon, gan fod gau-brophwydi i'w dysgwyl yn barhaus; a phaham nad y ddawn ag oedd yn cael ei chyfranu "i arall," fuasai y goreu i'w hadnabod etto? Nid yw dweyd fod y Testament wedi dyfod yn lle rhywbeth, ddim yn amgen nâ lol wag a direswm. Fe wyr pawb nad yw y Testament ond casgliad gan ddynion anysbrydoledig, o rai o'r llythyron hyny

a ysgrifenodd yr apostolion ac ereill at yr eglwysi, pan na allent fyned atynt i'w dysgu yn bersonol; ac na fwriadwyd hwynt erioed i gyflawni gwaith yr Ysbryd Glân, yr hwn ni allai neb ei wneyd ond efe ei hun. Y mae yn anghenrheidiol i gael ysbryd cyn y gellir gwahaniaethu ysbrydion; a chan na fedd y Testament ddim un ysbryd, na'r dyn a'i darlleno ond ysbryd ei hunan, pa fodd yn y byd yr adnabyddir gau-ysbrydion, heb feddiannu Ysbryd Duw, neu y ddawn o wahaniaeth ysbrydoedd? Yn mhellach yn mlaen etto, y mae'r Sylwedydd, er mwyn treio profi diffyg undeb yn yr eglwys gynt, yn dweyd fel hyn:—"Mae y rhan fwyaf o draethawd Capt. Jones ar y ddawn hon, yn cael ei gymmeryd i fyny i ddangos nad yr un ysbryd sydd yn y gwahanol enwadau, yn eu harwain i'r fath wahanol gredoau a theimladau. Ond, yn ol hyn, nid oedd Ysbryd Duw yn y rhai yn eglwys Rhufain ag a fwytaent gig, os oedd yn y rhai nad oeddynt yn ei fwyta; neu nid oedd yn y rhai nad oeddynt yn ei fwyta, os oedd yn y lleill. Ac yn ol y resymeg yna, nid allasai fod Ysbryd Duw yn y dyn oedd yn ystyried diwrnod i'r Arglwydd, os oedd yn y dyn nad oedd yn ei ystyried; neu nid oedd yn yr olaf, os oedd yn y blaenaf." Yn awr, nid yw yr enwadau yn croesi eu gilydd, o herwydd fod rhai yn Ddirwestwyr, ac ereill yn yfwyr; a rhai yn ysmocio, ac ereill yn peidio; ond wrth eu bod yn gweinyddu yr un ordinhadau, a phregethu yr un athrawiaethau, yn wahanol hollol,—wrth hyny y maent yn croesi eu gilydd, ac yn cael eu harwain gan ysbrydion gau. Wrth ufyddhau i'w orchymynion, a gweinyddu ei ordinhadau, y dysgwylia Duw i'w blant beidio croesi eu gilydd, ac nid wrth fwyta cig neu fara. Nid Ysbryd i ddysgu bwyta ac ystyried diwrnodau ydyw, ond un i dywys i'r gwirionedd. Pan dywysid rhai gynt gan Ysbryd Duw i bob gwirionedd, nid oeddynt, er hyny, heb lawer o golliadau yn nglyn â hwynt, y rhai a ddiwygid yn barhaus gan arolygwyr yr eglwys. Y mae plant Duw yn cael eu harwain gan yr Ysbryd, pan y byddont yn cael eu dysgu gan athrawon ysbrydoledig; a phan y maent yn cymmeryd eu harwain felly, dyna'r amser y tywysir hwynt i bob gwirionedd; ond nid ar unwaith y cyrhaeddant berffeithrwydd. Nid yw athrawon yr enwadau yn addas i arwain ereill i bob gwirionedd, tra y maent hwy eu hunain yn ymddyeithrio mwy oddiwrtho bob dydd. Yr hyn a wyddant hwy yn amgenach na'r rhai a ddysgant, yw eu doethineb ddynol, canys credant mae y peth diweddaf a gawsant oddiwrth Dduw yw y Tes-

tament Newydd, yr hwn a fedda eu dyscyblion gystal â hwythau. Yn awr, gan y meddylia Mr. Sylwedydd mai wrth y "gair a'r dystiolaeth" y mae profi pawb yn bresennol, dymunwn wybod wrth ba beth y mae profi y gair a'r dystiolaeth? Pwy sydd yn gwybod yn awr, os nad yw y ddawn o wahaniaeth ysbrydoedd yn yr eglwys, pa un ai gwir neu gau yw y gair a'r dystiolaeth dan sylw? Nid gwiw i neb ddweyd ei fod yn credu a gobeithio, canys y mae yn rhaid cael sicrwydd cyn bod yn ddiogel rhag y gau. Mae yn angenrheidiol profi yr ysbrydion yr un mor drwyadl yn awr, ag yn yr amser gynt; ond pa fodd y gellir, heb feddu yr un Ysbryd? Ni all y Testament ond cynnorthwyo yn unig i gredu; mae y sicrwydd a'r prawf yn eisieu o hyd.

Y mae Capt. Jones, yn yr "Eurgrawn," yn trafod y ddawn hon yn gryn fanwl, ac yn gosod allan yr anmhosiblrwydd o fod y gwahanol sectau sydd yn y byd yn cael eu harwain gan Ysbryd Duw, a'r anghen mawr sydd am y ddawn yn yr oes hon, yn anad un oes arall, er eu dwyn i undeb y ffydd. Ond, mae yn debyg i'r Capt., yn ei frys i ddarlunio y gwahanol sectau, ddygwydd taro wrth "y Methodsyn, druan," yr hwn a gynhyrfodd yn drwyadl yn mherson y Sylwedydd. Daeth i'w fryd yn union y gallai fod rhai o'r Saint wedi troseddu cyfraith y wlad, ac y byddai crybwyll rhyw drosedd yn ddial ac yn brawf da nad yw y Saint, mwy nâ'r enwadau ereill, ddim dan arweiniad Ysbryd Duw. Druan o hono! Ai ni wyddai ef fod y Saint cyntefig dan arweiniad yr Ysbryd, a bod Paul yn rhybyddio rhai o honynt i roddi heibio ladrata a meddwi? Nid Ysbryd Duw sydd yn cymhell neb i droseddu na chyfeiliorni, ond ysbrydion ereill: mae gan ddyn waith i'w profi, a gwaith dyfal i ddilyn y da. Yn nesaf, ymdrecha y Sylwedydd brofi fod Capt. Jones yn croes-ddweyd ei hun, trwy ei fod yn awgrymu mewn un man fod y "cythreuliaid yn rhwym," tra yn son am eu bwrw allan mewn man arall. Oni ellir profi fod yr ysgrythyrau yn dweyd yr un pethau? (Gwel Judas 6, a Marc xvi, 17.) Gwna yr un sylw y tro ynghylch "pen yr eglwys" hefyd, ynghyd â gwrthddywediadau J. D. yn y "Prophwyd" am Ragfyr, 1847, y rhai sydd yn ddigon cysson i'r sawl a fyn ddeall. Ond pe byddai rhywbeth yn anghysson, beth wed'yn? A honodd Capt. Jones, neu J. D., eu bod hwy yn berffaith, neu ddim yn agored i ffaeleddau mewn ysgrifen, yn gystal ag mewn rhywbeth arall? Gwyddom am danom ein hunain, mai nid heb lawer o wylio yr ysgrifenwn, ac mai nid heb weddio yn barhaus am gyfar-

wyddyd, a gofyn barn brodyr fyddo yn meddu mwy nâ ni o ddoethineb Duw. Etto, er y cyfan, ofnwn fod ynom ni golliadau, ond nid yn ein crefydd, nac ychwaith yn yr Ysbryd a dderbyniwn.

"Gwahaniaeth ysbrydoedd" yw y ddawn olaf a fu yn mrawdlys y gelyn:" mae dwy o'r naw heb eu treio etto, ac nid oes nemawr argoel y cant eu treio yno ychwaith, nad beth yw'r achos. Cawn ni, ynte, eu treio ein hunain, rhag iddynt fod yn aros eu prawf am byth, ac ymdrechwn eu cael yn rhydd mewn byr amser.

"AMRYW DAFODAU."

Mae y ddawn hon etto yn cael ei rhoddi "i arall;" a'r hwn a fyddo yn ei defnyddio, "nid wrth ddynion y mae yn llefaru, ond wrth Dduw; canys nid oes neb yn gwrandaw." Yr ol pob hanes ag sydd yn yr ysgrythyr, dyben y ddawn hon yw adeiladu y meddiannydd o honi, ac hefyd i adeiladu yr eglwys trwy gyfieithad. Gallai rhai o'r apostolion fod wedi pregethu trwy y ddawn hon, er na allwn ni ddeall hyny yn yr ysgrythyr mewn un man, a dichon y gwna Duw alluogi rhai i bregethu felly etto; eithr ni ddysgwn ni o'r Testament Newydd mai at bregethu y rhoddwyd y tafodau, ond yn hollol i'r gwrthwyneb. (Gwel 1 Cor. xiv). Mewn perthynas i barhad y tafodau, profir gan Paul nad ydynt i beidio, hyd nes y "delo yr hyn sydd berffaith" (1 Cor. xiii, 8-10); ac yn ol hyny, y maent heb ddarfod etto. Gan fod cymmaint o dystiolaethau wedi eu rhoddi yn barod ynghylch y ddawn hon, yr ydym yn ei gadael i basio yn rhydd.

"CYFIEITHAD TAFODAU."

Dyma y ddawn olaf a enwir; a chan eu bod yn dal cymmaint o gyssylltiad â'r un flaenorol, nid oes achos treulio amser na phapyr yn ei chylch. Lle bynag y byddo y ddawn o lefaru â thafodau, y mae yn ddiau fod eisieu y ddawn o gyfieithu i fod yn bresennol bob amser; ac nid yw y llall, yn ol tystiolaeth Paul (1 Cor. xiv, 6, 11, 14, 15, 28), ddim o un gwerth, os na fydd "cyfieithad tafodau" yn ei chanlyn, yr hyn a'i gwna yn gystal â phrophwydoliaeth. Gan hyny, gwelwn yn ddoethineb i ryddhau y ddawn hon, ar yr un tir â'r llall, fel y gallom gau y frawdlys, a gadael i bawb ddeisyf y "doniau goreu."

---

Wrth gwpla ein sylwadau ar y Doniau Ysbrydol, hysbyswn na allwn ni fod yn gyfrifol am ddim ond yr hyn ag ydym yn ddeall ac yn ysgrifenu. Geill llawer peth fod yn wir y mae ereill yn

ysgrifenu, ag nad ydym ni yn eu hamgyffred; ac o ganlyniad, yr hyn a ysgrifeno ereill fo yn gwybod mwy nâ ni, y rhai hyny sydd i fod yn gyfrifol am eu dywediadau, ac i'n dysgu ninnau hefyd pan yn cyfeiliorni.

---

## Y DYBACO.

Ni feddyliasom erioed ein bod mor boblogaidd, cyn i ni ysgrifenu ychydig ar y "Bibell a'r Gno." Llawer o ganmawl sydd arnom, a llawer o ffromi a hanner digio. Y peth cyntaf a wnelai rhai wedi darllen am y bib, oedd taflu ei ddybaco i'r tân, a phenderfynu peidio ei gwrddid eilwaith; tra yr ymdrechai ereill, druain o honynt, brofi ein bod yn dweyd celwydd am Ianto y Gof ac ereill. Prynai rhai simneiau hirach er ein gwan-galoni, tra y danfonai ereill atom bennillion o glod. Dengys y llythyr bach dienw a ganlyn, gynnwysiad siol rhywun lled fawr am danom:—

"Merthur, Juley 3d, 1849.

"Anwil Frawd Devis,—Gweles chidig och ffoluneb yn Udcorn Zion dwedda, miwn perthunas ir Bacco. Garswn i glwaid dun provedig yn trin y bib a'r Chno, ag nid un na Smocodd eriod. Rwy i yn gweld y cyfan yn Rong ollol; am hyni dimunwn eich edifeirwch gerbron yr Eglws yn ddioid, nei ni allai i gydfytta a chi byth. Dodwch y llythur hyn yn Udcorn nesa, nei ni phryna i ragor och Udcyrns. Ydwif yn ddifrif,

"Carwr Smoco."

Derbyniasom lythyr dienw arall, yn dwyn lythyrnod Caerdyf, a'i ddyben i'n cyhuddo o fod yn anmhrofiadol, ac o fod yn groes i ni ein hunain pan yn annog ein darllenwyr yn ddiweddar i "brofi *pob* peth," a ni ein hunain heb brofi dybaco. Carem weled y dynion sydd dros ddybaco, yn amlygu eu henwau wrth ei amddiffyn, yn lle bod mor gywilyddgar; a dymunwn eu hysbysu ein bod ni wedi gwneuthur prawf teg o gnoi ac ysmocio, ac wedi ein hargyhoeddi yn hollol nad ydyw ceg dyn erioed wedi ei bwriadu i fod yn dop simnai dybaco, nac yn glôs i gadw ei domeni. Ond dylai yr ysgrifenwyr anhysbys hyn wybod nad oes eisieu gosod gwenwyn yn ein geneuau, er profi ei fod yn ddrwg: y mae llawer ffordd i brofi pa beth sydd yn ddrwg, heb ddefnyddio y genau at hyny. Ofnir, os â pawb i brofi pob peth â'u genau, y gwelant eu camsynied pan fyddo haiarn coch Ianto y Gof yn glynu yn eu tafod, neu anwedd y "Morgan" yn rhyddhau y dannedd wrth brofi blas ei ddwr.

Yr ydym bron perswadio ein hunain yn awr, fod ein hysgrifen yn rhagorach y tro hwn, gan nad oes ond ychydig iawn o fwg yn ein hamgylchu: a bwriadwn ddweyd tipyn i bwrpas ynghylch y Dybaco, gan obeithio y bydd er lles pawb; ac os na fydd, nid ein bai ni fydd hyny. Yr amser ag oeddym yn ysgrifenu o'r blaen ar y pwnc hwn, dygwyddodd fod yr apostol Orson Pratt yn cymmeradwyo sylwadau cyffelyb yr un pryd, ac yn hysbysu y byddai yn dda i'r Saint wneyd defnydd o honynt. Er i ni geisio dangos yn ein rhifyn diweddaf, nad yw doctoriaid a benywod, yn gyffredin, yn fwy na ninnau, yn barnu yn ffafriol am ddybaco, etto ym ddengys nad yw llawer un yn coelio, eithr yn haeru yn ein gwyneb ac mewn llythyron, yn debyg i hyn:—

> "Y bibell sydd yn flasus,
> A mwynaidd i bob dyn;
> Fe yra y gwynt afiach
> Sydd yn y corff yn flin:
> Mae'n nerthu y synwyrau,
> Mae'n gymhorth da i'r co';
> A phwy ddyweda mwyach
> Mai drwg yw'r '*bib a'r gno*'!"

Os chwiliwn yr ysgrythyrau am ateb, o ddechreu Genesis hyd ddiwedd y Daguddiad, ni chawn gymmaint â llinell yn hysbysu fod y "bib a'r gno" yn bethau adnabyddus i ddynion, oddiar dechreuad y byd hyd ddyddiau yr apostolion; ac o ganlyniad, ofer dysgwyl am ateb o'r ysgrythyrau o blaid, nac yn erbyn y "bib a'r gno." Pwy bynag sydd yn cymmeryd y Bibl i'w ddilyn, ymwaded â'i ddybaco hyd nes y caffo adnod i brofi fod mwg yn feithriniaeth i'w gorff, neu fod llysiau a gedwir yn barhaus yn nghil y foch yn llesol i'r bol. Ond os oes rhyw un a foddlona ar ateb o ffynnonell arall, heblaw eiddo y doctoriaid, y benywod, y Golygydd, a'r Beibl, yr ydym yn barod i'w roddi, ac hyderwn fod pob un o'r Saint, beth bynag, yn barod i gredu yr ateb hwnw. Yr apostol O. Pratt sydd yn ei roddi, yn y *Star*, am Gorph. 1, 1849, yn y geiriau hyn:—"Os yw y Saint yn gaethion i'w blys, ac yn methu gadael y pethau sy'n *niweidiol* [gan gyfeirio at y dybaco], pa fodd y gorchfygant bob peth?" Eithr rhag ofn fod rhywun yn ystyried apostol yn rhy anwybodus ac anmhrofedig o ddefnyddioldeb dybaco, gosodwn Dduw, yr awdwr o hono, i ateb. Edrycher i 240 tud. o'r *Doctrine and Covenants*, a cheir gweled yr hyn a lefara Duw trwy ei Ysbryd, yn y geiriau hyn:—"Nid yw tybaco

yn dda i'r corff, nac i'r bol, ac nid yw yn dda i ddyn; ond llysieuyn ydyw at friwiadau a phob anifeiliaid afiach, i'w arferyd gyda doethineb a medrusrwydd. Ac hefyd, nid yw gwirodydd poethion ddim at y corff na'r bol."

Yn awr, y mae pob un sydd yn credu yr hyn y mae Duw yn lefaru yn yr oes hon, wedi cael ei argyhoeddi yn drwyadl, bellach, nad yw dybaco yn dda i'w arferyd yn ei bibell, nac yn nghil ei foch; ac fe ŵyr hefyd, os darfu iddo ddigio wrthym ni y mis diweddaf, iddo ddigio wrth Dduw yr un pryd. Geill y byd chwerthin am hyn, ond gŵyr y Saint rywbeth yn amgenach, ac atynt hwy, yn fwyaf neillduol, yr ysgrifenwn. Nid ydym yn rhoddi gorchymyn i neb, ond rhoddwn gyngbor i bawb; a phwy bynag a'i derbynio, efe ei hun fydd yn derbyn y lles, ac nid nyni. Os bydd rhai o'n darllenwyr yn dewis, gallant ddefnyddio saith cymmaint o ddybaco ag o'r blaen: ni wna niwed i ni byth, os cadwant ei fwg oddiwrthym ar amser bwyd. Dysgwyliwn, rhag cywilydd, y diwygia pawb yn y peth hwn, o leiaf, os nad ydynt yn dewis rhoddi y dybaco heibio. Y mae rheswm dynol yn dangos fod llawer o fendithion yn deilliaw trwy beidio defnyddio dybaco. Geill dyn gadw y swllt a rydd bob wythnos at ddybaco, at ryw ddyben rhagorach; a throi y blys sydd at y bibell a'r gno, yn flys at ddysgeidiaeth. Y mae yn druenus gweled y cannoedd ieuenctid sydd yn y gweithiau, y rhai ydynt yn gampwyr ar y bib, eithr heb fedru gair braidd ar lyfr. Pa faint o amser gwerthfawr a dreuliant i anadlu mwg, dan ddylanwad y fympwy ffol o'i fod yn codi dwfr o'u cylla, yr hwn nid yw ddim amgen nâ'r dwfr treuliawl sydd yn ochrau y geneu? Rhed y dwfr hwnw at damaid o fara, mor gynted ag y rhed at y mwg; a geill pob dyn ddeall, wrth lyncu ei damaid, mai dyben y dwfr sydd yn y geneu, yw ei addasu y bwyd i'r cylla, ac nid at ei boeri allan.

Yn awr, wedi profi yn eithaf teg i'r Saint anlesoldeb y dybaco, nid ffol o beth fydd i ni y Cymry, fel ag y gwnaeth y Saeson yn ddiweddar, wneyd cyfrif pa faint o arian sydd yn cael eu gwario gan y Saint, yn groes i gynghor pendant Duw (gwel "Doc. and Cov.," tud. 241, 242), wrth feithrin blys afresymol at lysieuyn a fwriadwyd i iachâu anifeiliaid y maes. Golyger fod y Saint yn Nghymry ddim ond pedair mil mewn rhifedi, a bod pob un o honynt yn gwario ddim ond tair ceiniog yr wythnos at ddybaco. Dywed rhai ysmocwyr wrthym fod y cyfartaledd o dair ceiniog yr un yn rhy isel, ac y dylasai fod yn bedair; ond caiff tair ateb ein

dyben yn bresennol. Yn ol hyna, y mae y swm fawr o *ddwy fil a chwe chant o bunnau* (digon i gario 400 o Saint i Council Bluffs bob blwyddyn), yn cael ei gwario yn flynyddol gan y rhai hyny sydd yn hiraethu myned tua Seion, yn unig am ddybaco, heb sôn am y trewlwch a'r cwrw. Onid yw Duw yn gwybod am y ddwy fil a chwe chant punnau, pan fyddo y Saint yn gweddio arno am agor calonau y cyfoethogion i'w cludo allan o Babilon? Pa fodd y cofia Duw am y Sant tlawd hwnw a dreulia swllt yr wythnos trwy dwll ei bib, i ddiystyru ei gynghor, pan y cwyna wrtho am ei dlodi? Yr atebiad goreu i hyn yw y geiriau hyny a arferir yn Seion, sef, "Y mae Duw yn helpu y rhai hyny a helpant eu hunain." Helped y Saint, ynte, eu hunain, a gwna Duw eu helpu hwy. Heb hyny, nid oes llawer o obaith. Mae yn wir fod y rhan fwyaf o'r Saint Cymreig heb gael eu dysgu erioed, cyn yn awr, pa beth y mae eu Duw wedi lefaru ynghylch y dybaco a'r gwirodydd. Ni chawsant gyfle o'r blaen i gredu ei leferydd ar y pwnc hwn. Bellach, fe fydd y byd yn barnu pa un a ydyw y Saint yn credu y dadguddiadau a gawsant gan Dduw trwy enau Joseph Smith ac ereill. Ni chred y byd eu dwyfoldeb, os gwelant y Saint yn diystyru y cynghorion hyny a ddywedir i Ysbryd Duw lefaru yn yr oes hon. Gan mai cynghor cyffredinol yw hwn, ac nid gorchymyn, nid oes achos i neb o'r Saint edrych pa beth mae eu llywyddion yn wneyd: rhaid i bob un sefyll ar ei waelod ei hun. Os bydd rhyw lywydd yn diystyru hyn, a thrwy hyny ymddwyn yn annoeth, nid oes rhwymau ar neb ei efelychu. Bydd bendithion y rhai hyny a wrandawant ar gynghor cyffredinol fel hwn, o flaen eu llywyddion, yn sicr o fod yn lliosog. Na fydded i neb fyddo yn rhoi heibio ddybaco, gyhuddo ereill am beidio; canys nid oes i neb draws-arglwyddiaethu, ond gadael i bob un ei ryddid.

Yn awr, wedi hysbysu mai gorchymyn a gawsom i ysgrifenu hyn, cawn ddiweddu yn ngeiriau olaf Duw yn y dadguddiad dan sylw:—"Caiff yr holl Saint a gofiant gadw a gwneuthur y dywediadau hyn [sef ynghylch gwirod, tybaco, a phethau ereill], gan rodio mewn ufydd dod i'r gorchymynion, dderbyn iechyd yn eu bogail, a mêr i'w hesgyrn, ac a gânt ddoethineb a thrysorau mawrion o wybodaeth, ie, trysorau cuddiedig; a rhedant ac ni flinant, a rhodiant ac ni ddiffygiant; a myfi, yr Arglwydd, wyf yn rhoi iddynt hwy addewid, y bydd i'r angel dinystriol fyned heibio iddynt, megys plant Israel, a pheidio eu lladd hwynt. Amen."

## MINNAU 'NAWR A GANAF.

'Wna'i gynghor undyn is y nen,
Fo'n plygu ei ben yn llibyn;
'Dyw cig a gwaed a'u syniad serth,
Ond dwlni certh i'w dilyn.

CYDGOR.

Minnau 'nawr a ganaf;
Canaf, pa'm na chanaf?
O, canaf, canaf fi.

Meddylia llawer is y rhod,
Mai dyma yw bod yn dduwiol;
Arweinia hyny, o eisieu pwyll,
I sydyn dwyll arswydol.
Minnau 'nawr a ganaf, &c.

Gorch'mynodd Paul, gwr llawn o glod,
In' fyw a bod yn llawen;
Gwar'funodd Crist, mae'n eithaf gwir,
Wynebau hir annyben.
Minnau 'nawr a ganaf, &c.

Fel hyn 'rwy'n meddwl hwylio'n mla'n,
Gan fod yn lân deuluddyn;
'Dyw llaesu gwefl a gostwng gwar,
Ond delw ar hudolyn.
Minnau 'nawr a ganaf, &c.

Os derbyn wneir ddysgeidiaeth wiw,
Iach obaith Duw'n hachubwr,
Fe geir na cha nac ofn na chur,
Mo ddilyn gwir addolwr.
Minnau 'nawr a ganaf, &c.

'Wna'i ganlyn fyth, nad faint fy rhaid,
Un ddall-blaid o'r fath ddull blwng;
Gwrthdrawiad chwith, ar anian chweg,
Yw gwel'd y geg yn gostwng.
Minnau 'nawr a ganaf, &c.

Os byddir dan drallodau blin,
Gwell plygu'r glun na'r gwddwg;
A chanu pennill buddiol ffraeth,
Sydd well nag aiaeth gilwg.
Minnau 'nawr a ganaf, &c.

Nid i gaethiwed 'galwodd Crist
Ni 'fyw, dan drist oer drefen;
Rho'dd hwnw'n gaeth—boed iddo'r clod—
Fel gallom fod yn llawen.
Minnau 'nawr a ganaf, &c.

*Trefcastell.* NATHAN DDU O LLYWEL.

## YR "OLEW" MEWN DADL.

Dafydd—A glywaist ti, Morgan, am y dyn a laddwyd gan yr hen Seintiau melldigedig yna. Mae eisieu eu transporto bob copa o honynt.

Morgan—Naddo i; sut y lladdasant ef?

Dafydd—Trwy roddi iddo yr hen olew yna sydd ganddynt i ladd pobl. Nad beth fyddo yr afiechyd, yr un hen stwff drewllyd sy'n cael ei roi i bawb gan y diawliaid. Damno nhw! Bum gyda y doctor neithiwr yn adrodd eu hen dricks cythreulig, ac yr oedd ef yn penderfynu mynu inquest arno, fel y gallai dransporto cymmaint â dwsin o honynt. Ond, diawl, mae hyny yn lawer rhy fach, yn ol barn gyfiawn ein gweinidog ni, myn Duw.

Morgan—Paid rhegu, Dafydd bach. Pa olew sydd ganddynt, os gwyddost? a pha beth yw ei enw? Y mae eisieu gosod stop ar fusnes felly. Os oes hawl ganddynt i grefydda, nid oes hawl ganddynt i ladd pobl.

Dafydd—Wn i beth yw enw ei hen olew uffernol a drewedig, ond lladdasant y dyn yna oedd yn y cholera. Mae'n warthus meddwl fod y fath ddiawliaid yn cael byw mewn gwlad Gristionogol. Diawl, gadewch i ni fyn'd i siarad â'r crownwr.

Morgan—Ust! dacw Wil y Sant yn dyfod heibio; gadewch i ni ofyn iddo pa beth yw enw yr olew. Treiwch chwi, Dafydd, dawelu tipyn, a pheidio cynhyrfu gymmaint.

William—Diweddydd da i chwi, eich dau. Mae'n dywydd lled hyfryd.

Morgan—Ydyw, William, mae yn dywydd da, oni buasai y cholera sydd yn y lle. Gwrandewch, William; a allwn ni gael gwybod genych pa olew mae'ch bobl chwi yn arfer?

Dafydd—Damno'ch pobl chwi yn lladd y dyn yna.

William—Gellwch, siwr, os bydd Dafydd yn ddystaw. Dyma botelaid a brynais yn awr gyda'r druggist; yr oedd morwyn ein meistr yno yr un pryd yn prynu dwy botelaid o'r un peth iddo ef erbyn cinio. Ei enw yw y *best olive oil*, neu *sweet eating oil*. Profwch lymaid o hono eich dau; mae y gwyr mawr i gyd yn ei ddefnyddio gyda y gwahanol lysiau sydd ar eu bordydd.

Dafydd—A fyn y cythraul ein lladd ninnau hefyd? Damno'i enaid ef! Dere oddiwrth y ffwl, Morgan, neu dyma fi'n myn'd.

Morgan—Cerdd dy hunan, yr asyn dwl. 'Rwyf fi wedi bod yn yfed yr olew hwn o'r blaen, William, ar ford meistr, a dyma yr

olew hyfrytaf a mwyaf iachus a brofais erioed. Mae yn sicr o fod mor iach a diniwed â dwfr glân o'r ffynnon. A ydyw'r Saint yn gosod rhywbeth ynddo, neu ynte yn ei gymmeryd fel hyn? Yr wyf yn credu y dywedwch chwi y gwir wrthyf.

William—Yr unig beth sydd i gael ei wneyd i'r olew hwn etto, cyn ei roddi i'r claf, yw fod yr henuriaid i'w fendithio trwy weddi; wedi hyny eneiniant y claf, ar ei ddymuniad, yn enw yr Arglwydd; ac os bydd yr afiechyd oddifewn, rhoddant lwyaid neu ddwy iddo i'w yfed. Yna, gan osod eu dwylaw ar ei ben, gweddiant eilwaith, yn enw Iesu Grist, ar Dduw i iachâu y claf, yn ol ei addewid. I brofi fod hyna yn ysgrythyrol, ac o ganlyniad yn ol cyfraith y wlad, nid oes eisieu ond darllen yn Iago v, 14—16. Dyna y gwirionedd i chwi yn onest, a beth feddyliwch am dano?

Morgan—Yr wyf wedi cael boddlonrwydd neillduol ynghylch yr olew genych, ac y mae yn rhwydd i mi weled yn awr mai siarad dynion anwybodus yw yr holl fwstwr sydd am danoch fel enwad. Pa fodd y gallai olew felly ladd neb, pe yfent werth swllt o hono? Ni feiddia un doctor ddweyd fod eich olew chwi yn lladd neb; a hyny am nas gallant roi prawf. Ond dywedwch wrthyf, a oes rhai o'r Saint wedi derbyn iechyd oddiwrth Dduw, trwy gyfrwng olew, gosodiad dwylaw, a gweddi?

William—Oes, cannoedd yn Merthyr yn unig, heblaw lleoedd ereill. Y mae lluoedd wedi eu gwella o'r cholera yn ystod y mis diweddaf yn Merthyr, trwy weinyddiad yr ordinhad, ac nid oes un o bob deg wedi marw o'r rhai a fu yn glaf. Gallaf grybwyll withych am wraig David Jones, mwnwr, Ynysgou, yr hon a dderbyniodd iachâd dair gwaith o'r cholera ffyrnicaf a welwyd yn y lle, drwy allu Duw. Yr ail dro, yr oedd Mr. Davies, y meddyg, wedi ei rhoddi i fyny yn hollol, gan ddweyd nas gallai fyw dros hanner awr yn hwy. Pan oedd Mr. Davies yn y tŷ, a'i lon'd o fobl gelyniaethus i'r Saint, daeth yr henuriad W. Phillips yno, mewn ufydd-dod i gais y claf, ac a weddiodd dair gwaith ar ben y claf, yn ngwydd amryw dystion, pan y rhyddhawyd hi oddiwrth y cholera yn y fan. Yr oedd hyn ar foreu dydd Sadwrn, y 14eg o'r mis hwn; a dywedodd rhai o'r tystion fod yn rhaid fod gallu Duw yn mhlith y Saint, a chymmerodd un o honynt ei bedyddio y noson hono, tra yr addawai ereill ufyddhau yn fuan. Yn yr hwyr, cafodd yr un chwaer ei tharo yn greulawn gan y cholera drachefn, yr hwn a'i crebachai yn anafus, nes yr oedd rhai Saint wedi myned i anobaith yn ei chylch, gan y credent fod eu hymys-

garoedd wedi dryllio; ond trwy weinyddiad yr henuriaid a aeth ati, cafodd ei hadferu eilwaith, ac y mae yn awr, er yn wan, yn gwneyd yn dda. Dywedir na welwyd cymmaint o ffydd mewn un Gymraes erioed o'r blaen; ac os oedd naw bywyd mewn cath, fod yn rhaid fod ugain ynddi hi! Yr oedd y cholera wedi ymosod arni pan oedd mewn cyflwr peryglus arall, yr hwn oedd wedi ei hollol lethu yn barod.

Morgan—Mae yn hen amser i mi fyned, mi wela'. Diolch i chwi am egluro ynghylch yr olew a'r pethau ereill. Bydd i mi alw gyda chwi nos y fory, a pheidiwch synu os cymmeraf fy meddyddio cyn eich gadael. Y fath ffwl oedd Dafydd, druan.

William—Wel, os ydych yn myned, ffarwelwch, a byddwch yn siwr o alw.

---

## Y GWYRTHIAU HEB DDARFOD.

NID gwiw i neb ammau yr hyn a dystiolaethir gan rai o grefyddwyr duwiolaf yr oes, ac a gyhoeddir yn y misolion hyny sydd yn traethu y gwir i bawb. Pan y dywedant hwy fod gwyrth wirioneddol wedi dygwydd yn eu plith, nid yw o un defnydd i neb geisio profi ei bod yn wyrth dwyllodrus; canys nid yw gwyrthiau yn wyrthiau, yn ol eu barn hwy, os na fyddant yn gyhoeddus fel gwyrth y bara haidd a'r pysgod gynt. I'r derbyn o brofi nad yw gwir wyrthiau wedi darfod yn yr oes, cawn ddyfynu hanes gwyrth nodedig a gyflawnwyd yn Rymni, ychydig flynyddoedd yn ol, allan o SEREN GOMER am Chwefror, 1839, tud. 34. Yno rhoddir hanes gwraig rinweddol o'r enw Dinah Davies, Rymni, yr hon a fu yn foddion i blanu Methodistiaeth gyntaf yn y lle hwnw; ac wrth darlunio ei llettygarwch, adroddir y wyrth hynod hon:—

"Fel ag yr oedd gwr dyeithr, nid anenwog, yn dyfod trwy y wlad, ac yn pregethu yn ein tŷ, am dri o'r gloch prydnawn, lliaws mawr o gyfeillion Merthyr a ddaethant i'w wrandaw. Nid oedd y wraig wedi pobi yr wythnos hono; ac o herwydd hyny nid oedd o fewn ein hannedd ond prin hanner torth o fara. Y gweinidog a'r lliaws dyeithriaid a fwytasant, ac a ddiwallwyd; ond er hyny, er ein dirfawr syndod, wedi iddynt fyned ymaith, nis gallem farnu fod y bara ddim yn llai; a'n penderfyniad oedd mai yr Arglwydd a'i bendithiodd mewn modd rhyfeddol ac anarferol."

Yn awr, wedi i Dduw ddangos ei allu gwyrthiol mor ddiweddar, pa fodd y meiddia y Methodistiaid yn bresennol ddweyd fod

gwyrthiau wedi darfod er dyddiau yr apostolion? a pha fodd y mae Mr. Gomer yn gwneuthur gwawd o wyrthiau yn mhlith y Saint, tra y dyoddefa hwynt yn mhlith y Methodistiaid? Y mae eisieu i'r enwadau ymbwyllo tipyn ynghylch gwyrthiau, rhag iddynt hwy eu hunain gael eu profi fel yn ceisio eu cyflawni.

---

## Y BEDYDDWYR AR DDYFOD YN SAINT.

NID oes dim a brofa yn eglurach fod y Bedyddwyr ar ddyfod yn Saint, na'u bod o radd i radd yn dyfod i gredu a phregethu athrawiaethau y Saint, y rhai oedd yn drewi yn eu ffroenau er ys ychydig yn ol. Lle mae y Saint amlaf, yno mae y Bedyddwyr yn ymdrechu fwyaf i lyncu eu hegwyddorion; a chan mai Merthyr yw y lle sy'n cynnwys mwyaf o Saint, yma hefyd y gwelir y Bedyddwyr yn debycaf i'r dynion a arferent alw yn "Sataniaid" a "chythreuliaid," ychydig amser yn ol, ac hwyrach yn awr hefyd. Beth a feddylir sydd yn cymmeryd lle yn y Tabernacl, yn Merthyr? Wel, nid cadw dynion yn ol am fis neu ddau i'w treio; nid bedyddio ond ar ben mis y cwrdd mawr, wrth oleu dydd, a hyny er siampl; nage, eithr y mae un dystiolaeth o onestrwydd y deiliaid yn ddigon 'nawr er eu parotoi i gael eu bedyddio, yr hyn a gyflawnir fynychaf yn y *nos*, ac ER MADDEUANT PECHODAU, pan ddefnyddia y gweinidog y geiriau a ganlyn:—"Yr wyf yn dy fedyddio di, fy mrawd, yn enw ein Harglwydd Iesu Grist, er maddeuant pechodau, i enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân. Amen." Dyna fel y mae y Parch. J. Roberts, y gweinidog presennol, yn gweinyddu ac yn athrawiaethu yn ei gapel; ac ymddengys fod llwyddiant anarferol yn ei ganlyn, trwy fod dynion yn caru y diwygiad, ac yn ofni y Cholera a'r Saint. Dywedai Mr. Roberts, wrth fedyddio yn y nos, ar yr 11eg o'r mis hwn, fod "geni o ddwfr ac o'r Ysbryd," yn gyfystyr â bedyddio a chredu, —mai "geni o ddwfr" oedd bedyddio, ac mai "geni o'r Ysbryd" oedd credu; ac hefyd, mai y corff oedd yn ufyddhau wrth gael ei fedyddio, a'r ysbryd wrth gredu. Yn y fan hyn, rhoddwn gynghor i Mr. Roberts, er ein dilyn yn well, mai gwell yw peidio dweyd mai "geni o'r Ysbryd" yw credu, rhag i'w aelodau ofyn iddo pa fodd y *credodd* dyscyblion Ioan a Iesu Grist, cyn cael eu bedyddio â dwfr, a chyn iddynt gael eu bedyddio â'r Ysbryd Glan hefyd? Darllened Math, iii, 11; Act. i, 5; a viii, 12—17. Etto, ffolineb yw dweyd fod y corff yn ufyddhau i ddim, canys yn ol ewyllys

yr ysbryd yn unig y gweithreda hwnw. Dymunem ar Mr. Roberts, os yw am ein dilyn yn mhellach, i addaw "dawn yr Ysbryd Glân," wrth fedyddio, fel Pedr gynt (gwel Act. ii, 38, 39); ac wedi hyny annog i ddeisyf y doniau ysbrydol. Yr oedd yn dda genym glywed ei fod dros gymuno ar y dydd cyntaf o bob wythnos, fel ninnau; ac arwydda y cyfan a wna yn bresennol ei fod yn barod i ddilyn y Saint yn fanylach, ond cael amser i ddysgu.

---

## Y DINYSTRYDD AR Y DYFROEDD.

MAE yr Arglwydd yn dechreu cyflawni yr hyn a lefarodd trwy enau ei was Joseph Smith, y prophwyd, mewn perthynas i afon Missouri, a dyfroedd dwyreiniol ereill. Y mae bywydau rhai o'n brodyr a'n chwiorydd anwyl eisoes wedi eu haberthu i'r dinystrydd hwn, yn fwyaf neillduol ar afon Missouri.

Ar lanau yr afon hon y safai ein hanwylaidd brophwyd, gyda chynghor o henuriaid, yn mis Awst, 1831, pan dderbyniai air yr Arglwydd, o'r hwn y gwnawn y dyfyniadau canlynol :—

"Wele, y mae peryglon lawer ar y dyfroedd, ac yn fwy neillduol o hyn allan; oblegid yr wyf fi, yr Arglwydd, wedi arfaethu, yn fy eiddigedd, lawer o ddinystriadau ar y dyfroedd; ie, ac yn neillduol ar y dyfroedd hyn: er hyny, y mae pob cnawd yn fy llaw, a'r hwn a fyddo yn ffyddlawn yn eich plith ni chaiff drengu ar y dyfroedd."

"Wele, myfi, yr Arglwydd, yn y dechreuad a fendithiais y dyfroedd, ond yn y dyddiau diweddaf, trwy enau fy ngwas Ioan, melldithiais y dyfroedd; o ganlyniad daw y dyddiau pryd na fydd un cnawd yn ddiogel ar y dyfroedd; a dywedir mewn dyddiau dyfodol, na fydd neb yn alluog i fyned fyny i dir Seion ar hyd y dyfroedd, ond yr hwn fyddo bur ei galon. A chan fy mod i, yr Arglwydd, yn y dechreuad wedi melldithio y tir, felly etto yn y dyddiau diweddaf y bendithiais ef, yn ei bryd, at wasanaeth fy Saint, fel y gallont fwyta o'i frasder ef. Ac yn awr yr wyf yn rhoddi gorchymyn i chwi, a'r hyn wyf yn ddweyd wrthych chwi wyf yn ddweyd wrth bawb, fod i chwi ragrybyddio eich brodyr yn nghylch y dyfroedd hyn, na ddelont ar hyd-ddynt wrth deithio, rhag i'w ffydd wanhau, ac iddynt hwy gael eu dal yn ei maglau: yr wyf fi, yr Arglwydd, wedi arfaethu, ac y mae y dinystrydd yn marchogaeth ar wyneb y dyfroedd, ac nid wyf yn galw fy arfaeth yn ol."

"Wele, myfi, yr Arglwydd, wyf wedi apwyntio ffordd i'm Saint i ymdeithio, ac wele dyma y ffordd—wedi iddynt adael y camlas, boed iddynt deithio ar hyd y tir, os bydd iddynt gael gorchymyn i deithio, a myned i fyny i dir Seion; a boed iddynt wneuthur yn debyg i blant Israel, gan godi eu pebyll ar y ffordd. Ac wele, bydded i chwi roddi y gorchymyn hwn i'ch holl frodyr: er hyny, i'r hwn y rhoddir awdurdod ar y dyfroedd, y rhoddir iddo gan yr Ysbryd i adnabod ei holl ffyrdd; gan hyny, bydded iddo ef wneyd yn ol fel byddo Ysbryd y Duw byw yn gorchymyn, pa un bynag ai ar y tir, neu ar y dyfroedd, fel ag y mae yn perthyn i mi wneyd o hyn allan; ac i chwi y rhoddir gwybod yr yrfa i'r Saint, neu y ffordd i Saint gwersyll yr Arglwydd, i ymdeithio."—(Gwel yr "Ath. a'r Cyf.," tud. 229, 230.)

Y mae amrywiol o'n brodyr, yn ol y sŵn a glywir, wedi trengu ar yr afon ddychrynllyd hon oddiar ddechreu y gwanwyn; rhai o'r Taleithiau dwyreiniol a chanolbarthol, ac ereill o Brydain Fawr. Y mae gair yr Arglwydd yn dechreu cael ei wirio yn rhyfedd. Gobeithia ein brawd Orson Pratt y bydd i awdurdodau yr Eglwys hon yn America gynghori yr ymfudwyr oddiyma i deithio ar hyd y tir o St. Louis, o leiaf, os na fydd i'r Ysbryd drefnu fel arall. Mae rhagrybyddion prophwydoliaethol ein Gweledydd Joseph Smith, mor eglur fel y gall yr holl Saint trwy'r byd weled y perygl o deithio y Missouri. Pa fodd bynag, nid ein gwaith ni yn y wlad hon, ond ein brodyr yn America, yw rhoi cyfarwyddiadau ynghylch y mater hyn; ac hyderwn y trefnant hwy y peth mewn doethineb, ac os bydd bosibl, achub y gweiniaid rhag y Dinystrydd, fel y dysger hwy yn berffeithiach yn ffordd yr Arglwydd, ac y delont o hyn allan yn gryfion. Ni wna yr Arglwydd alw yn ol ei arfaeth ddinystriol ar yr afon hono; ac os na fydd ffydd y Saint yn gryf trwy eu cyfiawnder, y maent mor agored â phobl ereill i syrthio yn ysglyfaeth i'r barnedigaethau gosodedig.

Os yw y farn yn dechreu gyda phobl Dduw, pa beth fydd diwedd y cenedloedd hyny a wrthodant y genadwri hon? Dychrynllyd iawn! Bydded i'r Saint, gan hyny, wneyd pob ymdrech i fyned o'u plith; canys y farn ni oeda ddyfod. Ymsanteiddiwch eich hunain trwy gadw y gorchymynion, a'r geiriau doethineb, a chynghorion prydlawn gweision y Goruchaf; ac os gwnewch y pethau hyn, aiff y dinystrydd heibio i chwi heb eich dyfetha, a chewch chwithau gyrhaedd mynydd Seion, lle y bydd hollol waredigaeth oddiwrth y plaau fydd yn dinystrio y byd.

## Y CHOLERA.

ODDIAR pan ysgrifenasom y mis diweddaf am ymddangosiad y gelyn marwol uchod yn ein plith, y mae cannoedd yn Merthyr a'i chymmydogaeth wedi eu hysgubo ganddo i fyd arall. Y mae yn anhawdd rhodio yr heolydd yma ar brydnawnau, heb gyfarfod â llawer o angladdau yn mhob cwr; a thra lliosog yw y rhai a adewir yn amddifaid, i alaru ar ol ysglyfaeth y Cholera creulawn, yr hwn sydd â'i fryd fel ar lwyr ddinystr. Y rhifnodau canlynol a ddangosant ei waith, oddiar y 25ain o Fai, hyd y 23ain o Orphenaf presennol, yn Merthyr, Pendaren, Dowlais, ac Aberdâr. Y mae'r cyfanswm a gafodd eu taro yn glaf, yn 1844, a'r rhai a fu farw yn 698. Newydd ddechreu mae y clefyd yn Dowlais ac Aberdâr, ond ymddengys yn benderfynol i wneyd gwaith mawr yno hefyd. Y mae yn ymosod ar y Saint, fel ar bobl ereill, yr hyn a geidw yr henuriaid mewn gwaith braidd ddydd a nos. Wedi galw am gyfrif o'r Saint a gymmerwyd yn glaf yn Merthyr a Phendaren, cafwyd i 127 fod yn glaf, o'r hyn ni fu dros 15 farw. Profa hyn i'n brodyr pellenig pa faint a amlygir o allu Duw yn ein plith, yn y cyfyngder presennol. Yn awr, y cawsom y cyfleusdra goreu, er pan ydym yn yr eglwys, i adnabod pa fath ffydd sydd yn anghenrheidiol i'r cleifion yn ein plith. Nid rhyw ffydd a greuir mewn gwylltineb ar y fynyd, a wna'r tro i'n hachub o grafangau afiechyd fel y Cholera; ond ffydd a grewyd yn flaenorol trwy ddealltwriaeth o weithrediadau iachâol Ysbryd Duw, yr hon ffydd nid yw yn petruso nac yn ofni yn ngwyneb dim; y mae, fel ffydd y wraig gynt, yn sugno iechyd hyd y nod o ddillad anfonedigion Duw, neu oddiwrth eu ffyn.

Braidd y gallwn ddweyd pa le i droi o bresennoldeb y dinystrydd hwn; canys, wele, y mae yn Nghymru, yn Lloegr, yn yr Iwerddon, yn Ffrainc—ïe, pa le bynag braidd yr edrychom, y mae yno—ïe, hefyd, cyd-farchoga ddyfroedd melldithiol y Missouri, pan mae'r Saint yn myned ar hyd-ddynt tua Seion.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR FFLINT.

CYNNALIWYD Cymmanfa y Gynnadledd uchod, yn nhref Fflint, ar y 13eg o Fai. Cynnrychiolwyd pedair cangen, yn cynnwys 10 henuriad, 6 offeiriad, 3 athraw, ac un diacon; 7 wedi eu bedyddio er y gymmanfa flaenorol; cyfanrif, 58. Dewiswyd David

Jones i lywyddu cangen Bagillt. Anerchwyd y Saint ac ereill gan amrywiol swyddogion yn ystod y gwahanol gyfarfodydd yn effeithiol iawn, ac ordeiniwyd dau offeiriad.

JOHN DAVIES, *Llywydd.*

---

## AMRYWIAETHAU.

ABSENNOLDEB DUW.—Pan yn tori dyn allan yn nghapel Cwm-pedol, Caio, sir Gaer, yn ddiweddar, am ymuno â'r Saint, gorch-ymynodd y gweinidog i'r Arglwydd fyned ar ei ol; ac ar ol dyfod allan o'r cwrdd, dywedai yr aelodau wrth eu gilydd, "Bydd ein capel yn wag yn fuan, canys yr ydym yn colli ein haelodau; ac y mae ein gweinidog wedi danfon Duw ar eu hol; y canlyniad fydd, y byddwn ar fyr heb aelodau, ac heb Dduw yn y byd!"—W. J.

EFFAITH DADL RYMNI.—Dywedai Parchedig Methodistaidd yn Mhenycae, yn ddiweddar, pan yn annog ei wrandawwyr i undeb a chariad, gan grochfloeddio ac ergydio'r areithfa, "Ni chawsom gymdeithas yr Ysbryd Glân oddiar Dadl Rymni."

HUR.—Telwch hur i was neu forwyn, yn hytrach nâ derbyn cynnorthwy achlysurol neb—nid yw yr olaf fyth yn cael eu talu yn ddigonol.

MAE yn gyfeiliornad i feddwl fod gwyneb hir yn angheurheid-iol i foesau da, neu fod chwerthin yn drosedd anfaddeuol.

MARWOLAETH PATRIARCH.—Mae yn ofidus genym i ddweyd fod y Patriach John Albiston, yn Lloegr, wedi marw ar yr ail o Fehefin diweddaf, o'r parlys. Bu ei fywyd yn llawn o groesau a threialon, ond wynebodd y cyfan yn dawel; rhedodd ei yrfa, a chadwodd y ffydd. Ei gynghorion a'i fendithion a gedwir mewn coffadwriaeth dragwyddol, a'i glod ni dderfydd byth.

CANU A'R DEALL.—Nid yw y dyn a gano mewn tŷ arall, neu yn mhlith cwmpeini, heb gael cymhelliad i hyny, nemawr byth yn "canu â'r *deall.*"

TRISTAU YR YSBRYD.—Gellir tristâu Ysbryd Duw mewn llawer dull, ond nid mewn dull yn gynt nâ thrwy orfodi rhyw un o'r Saint i wrandaw am ddwy awr neu dair pa fodd y bu hwn a'r llall yn dadleu â gwyr y byd. Os bydd gan rywun rywbeth newydd i ddweyd, bydd yn bleserus i'w wrandaw; ond mae yr hwn a ad-roddo stori hirfaith ag y mae pawb yn wybod, yn annyoddefol.

### YMDDIRIED.

Ni wnawn ymddiried yn mhob dyn,
A dyma ein rhesymau—
Am nad adwaenwn lawer un,
Ac am y gwnawn o'r goreu.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 8.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. I.] AWST, 1849. [PRIS 2g.

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1849.

DYLEDWYR CAPT. JONES.—Dymunwn ar y rhai hyny sydd â dyled arnynt i Capt. Jones, i wneyd brys i'w talu i ni, onite cânt y pleser o weled eu henwau ar glawr yr UDGORN. Profa difaterwch a diffyg ymdrech, ryw ddiffyg o beth arall.

"D. W.—Syna ein gohebydd o herwydd i ni osod "diawliaid," &c., yn lle "d—l—d," &c. Nis gwyddom ni pa beth yw yr achos fod dynion yn ofni gweled *diawl* yn llawn mewn print, yn fwy na Satan yn llawn. Onid yw yr holl barchedigion yn gosod "Sataniaid" yn wastad yn llawn? Felly gwnaethom ninnau â'r diawliaid.

Y CHOLERA.—Yn ol y cyfrif a roddir allan yn ddyddiol yma, y nifer sydd wedi marw o'r dechreu yn Merthyr, yw 626; yn Pendaren, 155; yn Dowlais, 454; ac yn Aberdâr, 77. Y cyfanswm sydd wedi eu cymmeryd yn glaf yn y lleoedd uchod, yw 3196; a'r cyfanswm sydd wedi marw yw 1326. Dylid deall nad yw neb yn cael ei ystyried fel yn marw o'r Cholera, os na fydd yn marw o fewn 24 o oriau; ac o ganlyniad, nid oes llawer mwy na'r hanner, yn ol hyny, yn cael ei gosod ar lawr, fel yn marw o'r clefyd uchod. Ni feddyliwyd mewn pryd y mis hwn, i wneyd cyfrif o'r marwolaethau yn mhlith y Saint; ond nid ydym yn meddwl fod nemawr wedi marw.—(Awst 22)

CANU.—Dylai yr holl Gangenau, yn mhob Cynnadledd, i ddewis llywydd a dau gynghorwdd, yn mhob cangen, i gymmeryd y flaenoriaeth mewn canu, fel ag y byddo y rhan hono o'r addoliad yn cael ei chario yn mlaen yn rheolaidd. Bydd hawl gan y cyfryw i gadw ysgol gân, ac i'w blaenori, ac i edrych na fyddo neb yn dyfod iddi i ddybenion gau, sef i chwedleua, caru, &c. Mae hyny yn dinystrio pob amcan teilwng.

"J. J."—Nid yw yn weddus mewn brawd i ymarferyd ei roddion mewn Cangen ddyeithr, oddieithr iddo gael ei annog gan y llywydd.

☞ Bydd yn ofynol i bob Cangen i gadw cyfrif o bob un a fedyddiwyd, pa bryd, a chan bwy; pa bryd y cadarnhawyd ef, a chan bwy; pryd y derbyniwyd trwy lythyr, ac o ba le; pryd y galwyd i swydd, a pha swydd; pa bryd y torwyd allan; a pha bryd yr ail-fedyddiwyd; pa bryd bu farw, neu yr ymfudodd, &c., &c. Bydd eisieu cadw cyfrif am lawer o bethau ereill, y rhai a nodir ar y llyfr, mor fuan ag y daw yn barod, yr hyn fydd heb fod yn hir.—Dylai pob un fyddo yn cael ei fedyddio, dderbyn papyr gan y bedyddiwr, a'u henwau eill dau wrtho, ynghyd â'r dydd o'r mis, i'w gyflwyno i ysgrifenydd y Gangen, wrth gael ei gadarnhau.

YR EPISTOL CYFFREDINOL.—Methasom gael lle yn yr Udgorn, i'r Epistol Cyffredinol at yr holl Saint trwy'r ddaear, oddiwrth y Brif Lywyddiaeth yn Ninas y Llyn Halen. Daw allan yn ddioed, yn lyfryn werth ceiniog, ar ol y Rhifyn hwn.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 8.] AWST, 1849. [CYF. I.

## ARWYDDION Y DYDDIAU DIWEDDAF.

MAE y dyddiau diweddaf yn ddyddiau hynod iawn, ac yn llawn o arwyddion a rhyfeddodau. Prophwydwyd er yn foreu am danynt; a mawr fuasai llawenydd ein hen gyndeidiau i gael byw yn y gyfnod hon o oedran y byd, i weled eu dywediadau yn cael eu gwirio. Ond yr ydym ni yn eu gweled drostynt; ac os nad ydynt hwy yn cael cipolwg ar bethau o'r tufewn i'r llèn, cawn ni gyfleusdra cyn bo hir i hysbysu iddynt yr holl bethau neillduol sydd yn dygwydd yn ein dydd. Dywedwn am y rhyfeloedd gwaedlyd a ymladdwyd yn ddiweddar dros wyneb eang yr hen ddaear, a'r difrod a wnaethant ar blant dynion. Wedi hyny, siaradwn am y newyn fu yn tramwyo y byd, gan adael miloedd o'i drigolion yn rhy welw-lâs eu gwynebpryd i roesawi neb ond angeu ei hunan. Ac yna gallwn ymddyddan yn hir am y dinystrydd cyffredinol sydd wedi ymweled â ni yn bresennol, yr hwn a alwn, yn ol dull dynion, yn Cholera: bydd yn ofidus adrodd am y milyinau a ysguba ymaith yn ngwahanol ranau y ddaear, mor ddirybydd â syrthiad y ddeilen yn ngolwg dyn, ond mor rhybyddiol ag y gallai fod yn ngolwg Duw. Bydd genym lawer o bethau hynod ereill i'w dwyn ar gôf hefyd; ond bydd yr oll, efallai, yn bethau a wybuwyd o'r blaen gan y prophwydi; ac felly ni fyddwn ni ond cadarnhâu yr hyn a wyddent hwy yn flaenorol.

Pa un a fyddwn yn cael amser i siarad felly ai peidio, nid yw o gymmaint pwys i ni wybod; ond y mae yn yn perthyn i ni

edrych pa beth sydd yn cymmeryd lle yn ein dyddiau, canys wrth hyny y deuwn i wybod pa ddyddiau fyddant. Wrth sylwi, canfyddwn fod rhyfeddodau yn esgor ar ryfeddodau yn barhaus, a bod y cyfan yn arwyddion mawrion o rywbeth neillduol. Gwelwn mor gyflym y carlama y pläau i'r lleoedd y pregethwyd yr efengyl, a'r tuedd sydd mewn dynion i galedi. Taflwn olwg ar y diwygiadau gwladol a chrefyddol; onid yw y cyfan yn parotôi i rywbeth mawr a chyffredinol? Beth yw y chwyldroad Rhufeinig, ond rhyw arwydd o ryw chwyldroad mwy pwysig. Y mae pob cyfundraeth yn bresennol yn cael eu darostwng yn gydradd, fel ag i fod yn barod i fabwysiadu cyfundraeth mwy cyffredinol, yr hon a lynca y cyfan iddi ei hun. Gwelir fod hen gredoau yn dechreu cael eu hanmharchu, a bod golygiadau newyddion yn cael eu hamlygu bob dydd, a'u trysori gyferbyn â rhywbeth sydd ar wawrio i'r byd. Mae dynol-ryw megys yn ymddyrchafu yn uwch o'u hysgwyddau, ac fel wedi blino ar ystoriau ynghylch ysbrydion a fu, yn parotòi eu hunain yn feunyddiol i gyfrinachu yn bersonol ag ysbrydion y byd arall. Nid yw hyn ddim yn arwydd bychan. Ymdrecha llawer fod yn anghrediniol, ond argyhoeddir hwy gerfydd eu gwaethaf. Dygir ysbrydion perthynasau ymadawedig iddynt o'r byd draw, trwy effeithioldeb Mesmeryddiaeth, yr hwn sydd allu goruwch-naturiol; ac ymddangosant megys yn eu hen wisgoedd i ateb pa gwestiwn bynag a ofynir iddynt gan eu ceraint anghrediniol. Desgrifiant pa fath le sydd tu fewn i'r llèn, a pha ddull y maent yn treulio eu hamser yno, a'u dyben yn dyfod i'r ddaear i wisgo cnawd. Cytunant oll i ddweyd iddynt fod yn y nefoedd cyn cael eu geni ar y ddaear, ac mai tynghedfen pob ysbryd yw cael ei eni mewn byd drwg, byd a ordeiniwyd i'r unig ddyben o ddysgu y wybodaeth o dda a drwg, heb y wybodaeth hon nid oes un bod yn berffaith. Hefyd, fod, o ganlyniad, ddymuniad yn y rhai a enir etto i gael eu geni; ac mai yn ol y dymuniad hwnw y bydd parhad eu hoedl ar y ddaear neu'r blaned y danfonir hwynt iddi. Felly y siarada yr ysbrydion wrth ddynion; ond nid hyna yn unig, ond siaradant am ail-briodas yn eu byd hwy, ac am yr ymdrech am lawenydd sydd mewn ysbrydion drwg a da; ac mai ar yr amser y byddom ni yn

gwisgo galar-wisg y byddant hwy yn chwerthin am danom. Gorfoleddant am ddaeargrynfaoedd, rhyfeloedd, pläau, a newyn, pan y byddom ni yn llawn tristwch. Dywedant eu bod yn mwynhau palasau, gerddi, mynyddoedd, afonydd, coedydd, blodau, a ffrwyth; y gallant fwyta, yfed, a chysgu; darllen, ysgrifenu, a phaentio; dawnsio a chwarae, canu a chwerthin—mewn gair, braidd pob peth, fel yma.

Mae y pethau hyn yn dyfod i enwogrwydd, o herwydd y mae llawer o bethau a lefara yr ysbrydion yn ffeithiau tuhwnt i bob dadl. A phan brofo dynion rai pethau yn wir, fe gredant y cyfan yn rhwydd ddigon. Nid yw y diafol byth yn esgeuluso dweyd cryn wirionedd, fel y gallo fod yn fwy diogel o'i amcan yn y pen draw. Hawdd y gall pob un ddeall fod y diafol yn y dyddiau diweddaf hyn yn ymorchestu yn mhob modd i gadarnhau ei lywodraeth ar y ddaear, cyn y bydd Mab Duw yn dyfod i ymosod arni; ac y mae megys un wedi dihuno o gysgadrwydd hirfaith, ac yn penderfynu gwneyd rhyw gynllun mwy effeithiol nag a wnaeth erioed er sefyll ei dir. Mae ei bwer eisoes ar y ddaear, ac nid yw ond yn ymofyn ychydig o amser i osod y gau-grefyddau oll o dan lywodraeth ei benaeth daearol, i'r hwn, debygwn, mae y Pab presennol ar roddi ei orsedd. Yr oedd y byd hyd yn hyn yn rhy amddifad o allu gwyrthiol y diafol, i neb ddysgwyl undeb rhwng ei blant; ond yn bresennol mae rhyw ysbryd Mesmerydd-ol ar eu rhwymo yn un, i gymmeryd eu harwain yn fwy neillduol yn ol ewyllys eu brenin.

Yn awr, swm y cwbl a ddywedasom, ac a allem ddweyd etto, yw, fod arwyddion y dyddiau diweddaf yn fwy eglur nag y buont o'r blaen; ac nad oes achos ond gorphwys ychydig yn ychwaneg cyn y byddant yn dynodi dyfodiad Mab y Dyn, pan y gobeithiwn y byddwn yn ei adnabod, heb achos cywilyddio o'i blegid.

---

## GWYRTHIAU SECTARIAID A GWYRTHIAU SAINT.

**Nid** gwiw ammau yn hwy, nad yw y Sectariaid, yn teimlo cymmaint o awydd i gyflawni gwyrthiau, â neb o'r Saint. Mae yn wir fod y blaenaf wedi bod yn haeru yn fynych fod oes y gwyrthiau wedi darfod; ond dengys ffeithiau yn bresennol nad oeddynt y

pryd hwnw yn gwybod pa beth oeddynt yn gredu, ac mai yn awr y darfu iddynt ddysgu. Y Cholera sydd wedi gwneyd fwyaf, o bob dysgawdwr arall, tuag at agor eu llygaid, druain; a gorfu hwnw bregethu cryn lawer cyn gwthio ei ddysgeidiaeth i'w siol. Mae ein cyd-wladwyr, ond odid, yn cofio am yr hanesion helaeth a lanwai y newyddiaduron, er ys ychydig yn ol, ynghylch treialon y Saint i wneuthur "gwyrthiau," trwy eneinio a gweddio dros y rhai a glafychid o'r Cholera; ac y maent yn cofio hefyd am rybyddion ustusiaid, doctoriaid, a phregethwyr, yn erbyn i'r Saint ryfygu cyflawni gwyrthiau yn y dull hyny, gan eu gwawdio yn fawr am eu "hofergoeledd." Mae yn dda dal sylw ar bob peth a gymmero le, fel y gallom weled cyfnewidioldeb dyn, a'i annoethineb yn ceisio gwingo yn erbyn trefn ei Grewr. Pan ddaeth y Cholera gyntaf i gymmydogaeth Merthyr, bygythiai rhai o'r doctoriaid alltudio nifer o'r Saint os buasent yn rhoddi olew i'w cleifion; a dywedai y Sectariaid o'r bron mai peth rhyfygus oedd gosod dwylaw ar eu penau, a gweddio ar i Dduw eu gwella. Edrychid ar bregethwyr y Saint fel mwrddwyr yr amser hwnw, yn enwedig os dygwyddai rhyw un farw yn eu plith, am eu bod yn rhoddi olew ac yn gweddio. Beiai llawer yn erwin am eu bod yn gweddio dros eu cyrff, yn lle dros eu "heneidiau," fel pe tybient mai dyfetha yr enaid oedd y Cholera. Ond nid felly y mae pethau yn parhau; O, nage, canys y mae "dull y byd hwn yn myned heibio" yn barhaus, ac y mae barn doctoriaid, ustusiaid, a sectariaid yn newid mor fynych braidd â'r lloer, yn enwedig wedi i'r Cholera ddyfod i'w dysgu yn amgenach. Mae un peth i barhau yn anghyfnewidiol, er y cyfan, sef y farn nad yw y doctoriaid wedi lladd neb er y dechreu, er y gallant fod yn defnyddio moddion hollol groes yn awr i'r pryd hyny. Y papyrau a lenwid er ys ychydig yn ol i gondemnio "olive oil" y Saint at y Cholera, a lenwir yn awr etto â barn doctoriaid cyfrifol, mai hwnw, neu *caster oil*, yw yr unig feddyginiaeth effeithiol at y Cholera. (Gwel *Weekly Times* am wythnosau Gorphenaf, a phapyrau ereill.) Mae y Cholera yn baeddu y doctoriaid goreu; rhoddant hwy beleni a chyffeiriau digon da i attal yr ysgarthiadau a'r crebychiad; ond wedi y cwbl aiff y Cholera â'r anadl, —felly yn rhoddi gwers fod eisieu rhywbeth arall i'w goncwero ef. Nid yn unig i'r doctoriaid y mae wedi rhoi gwersi, ond i'r Sectariaid hefyd. Mae wedi dysgu i'r Sectariaid ei fod ef yn well pregethwr na neb o honynt; nad yw doethineb colegawl ac ysgiech-

ain ddim hanner mor effeithiol i argyhoeddi pechaduriaid, â chrebachu cwpl o filoedd i fyd arall; ac nad yw dawn a doethineb ddim yn ochr *ofn*, er agor llygaid y byd. Mae hyna yn ddysgu mawr; ond y mae'r Cholera wedi dysgu rhagor iddynt—mae wedi dysgu iddynt y ffordd i dreio gwneyd gwyrthiau! Er fod y Cholera wedi gwneyd daioni mawr i grefyddau sectaraidd, trwy ddwyn cannoedd yn ddiweddar yn Merthyr a'i chymmydogaethau i'w cofleidio; etto yr oedd wedi hyny yn cymmeryd y defaid ymaith i fyd arall cyn cynnyrchu nemawr gwlân i'w perchenogion. Meddyliwyd mai dyben Duw yn danfon y Cholera, oedd dwyn dynion at grefydd; ond pan welwyd drachefn ei fod yn dwyn braidd cymmaint oddiwrth grefydd, trwy eu crebachu, a bod y Parch. W. R. Davies, Dowlais, ac ereill, yn gorfod ffoi o'i blegid, meddyliwyd eilwaith, wedi derbyn mwy o ddysgeidiaeth gan y Cholera, mai y peth goreu oedd alltudio y pregethwr newydd, er mor fuddiol y bu, yn gwbl allan o'r wlad. Ond pa fodd oedd effeithio hyny, tybied? Nid oedd gan y doctoriaid ddim i'w wneyd tuag at ei alltudio allan o'r wlad; canys anfynych iawn y medrent hwy ei alltudio oddiwrth eu cleifion. Yr unig ffordd a feddyliwyd am dani, oedd ceisio gan Dduw i wneyd *gwyrth*—ie, cofier, yn yr oes hon! Ni wnelai dim arall y tro ond perffaith wyrth. Ond, oni wyddai y sectariaid nad oedd Duw yn cyflawni gwyrthiau yn yr oes hon? a pha fodd yr oeddynt yn gallu rhyfygu cymmaint? Mae hyny wedi bod yn cael ei ddweyd, mae yn wir; ond yr oedd anghen am wyrthiau yn amser caledi, fel ag y bu anghen ar yr Aifftiaid gynt? Ac yn awr, pwy ond y sectariaid, o bob enwad yn Merthyr, fuont yn apwyntio diwrnod i weddio ar Dduw i wneyd GWYRTH! Y sectariaid yw y crefyddwyr, cofier, fu ffyrnicaf yn condemnio y Saint am osod dwylaw a gweddio dros y cleifion i gael iechyd; hwynt-hwy fu yn gwawdio ac yn gwaeddi "twyll" fwyaf o bawb; ac hwynt-hwy hefyd fu yn treio gwneyd gwyrth eu hunain, ar ol y cwbl. Nid yn ddirgel yr oeddynt yn myned i'w chyflawni, ond yn gyhoeddus yn y Capeli yn mhob man; a darfu iddynt argraffu papyrau mawrion i'w gosod ar y muriau, ac annog pawb i ddyfod yno i gyd-weddio, ar i Dduw eu hateb. Dyma gynnwysiad yr hysbysiad Cymreig a osodwyd allan:—

"Y GERI MARWOL YN MERTHYR TYDFIL.—Bwriedir neillduo dydd Llun nesaf (Awst 13eg, 1849), fel dydd o ympryd crefyddol, ac ymostyngiad gerbron yr Hollalluog Dduw, mewn canlyniad

i'r ymweliad uchod. Bydd gwasanaeth dwyfol yn yr eglwys, ar yr oriau arferol o weddi, a chynnelir *cyfarfodydd gweddi* yn yr holl gapeli ymneillduol am saith a deg o'r gloch y boreu, a dau a chwech o'r gloch yn y prydnawn. Dymunir yn daer ar bawb roddi pob cyfleustra, fel y gallo y rhai a fydd yn ewyllysio cyduno yn y cyfryw gyfarfodydd, i erfyn ar Dduw, dros y lle hwn, fel y byddo i'r ymweliad gael ei santeiddio er ein llesâd ysbrydol, *ac ar iddo gael ei symud o'n plith.*"

Yn awr, mae y dydd ympryd uchod wedi ei gadw trwy holl Ferthyr, ac ni fwytasom ddim ein hunain ychwaith, oherwydd ein bod yn y Cholera ar y pryd. Ond beth fu y canlyniad o'i gadw? A symudodd y Cholera o'n plith? Dim modfedd. Yr oedd nifer y marwolaethau dydd Mercher canlynol, yn Merthyr, wedi mwy nâ dyblu, i'r peth oeddynt dydd Llun. Buasai yn well i'r sectariaid dreio gwneyd gwyrth dipyn yn llai i ddechreu; canys y mae yn rhwyddach symud mynyddoedd o lawer, nâ symud barnedigaethau gosodedig Duw. Os ydynt hwy yn mynu ffordd eu hunain i grefydda, gadawent, ynte, i Dduw gael ei ffordd yntau i dywallt ei phiolau. Cawsant arddeall, pan y buont yn gweddio am wyrth ar y tatws, nad oedd Duw yn eu gwrandaw y pryd hwnw; a phaham y buont mor ynfyd yn awr etto, ag i geisio rhwystro Duw i gyflawni ei ddybenion? Mae yn bryd i bawb ddysgu, bellach, nad oes dim yn effeithiol i attal y pethau rhyfedd sydd i ddyfod ar y ddaear yn y dyddiau diweddaf, ond cyflawniad o ewyllys Duw gan ei thrigolion.

---

## CYFEILIORNADAU CREFYDDWYR YR OES.

[Allan o'r CENADYDD CYMREIG, am 1841.]

MAWR y swn sydd yn y byd yn y dyddiau rhyfeddol hyn mewn perthynas i grefydd; ac nid oes dim i'w glywed ond ein sect ni, a'n sect ninnau, ein plaid ni a'n plaid ninnau, sydd yn iawn; a chreda y rhan fwyaf o'r byd fod dynion duwiol gyda phob plaid; ac wrth weled a chlywed y gwahanol bleidiau yn ymddwyn, tueddir fi ac ereill sydd heb un grefydd, i chwilio pa beth yw hyn: ac wrth farnu yn ddiduedd yn ol eu ffrwythau, a'r modd y darlunir gwir grefydd yn yr ysgrythyrau, yr ydym yn rhwym o gredu naill ai nad oes dim mewn crefydd, neu nad oes fawr o grefydd mewn dynion yr oes hon. "Na, ebe rhyw un, onid yw yr eglwysi yn cynnyddu yn anghyffredin, a rhai newyddion yn cael eu ffurfio yn barhaus gyda phob plaid, a dynion yn dyfod bob

dydd wrth yr ugeiniau i ymofyn am grefydd; a chlywir y gwahanol bleidiau yn cyhoeddi o'r pwlpudau, a thrwy eu misolion, y cannoedd cynnydd sydd yn dod atynt yn barhaus. Ac onid yw hyn yn ddigon i brofi fod mwy o grefydd yn y byd yn bresennol nag a fu mewn un oes o'r blaen? Ydyw, os mai mewn amldra rhif y mae crefydd yn gynnwysedig; canys y mae yn dra thebyg fod mwy o broffeswyr crefydd yn yr oes hon yn mhob dull, nag a fu mewn un oes o'r byd; ond er y cwbl, nid wyf yn gallu canfod fawr tebyg i grefydd yn y byd fel ag y darlunir hi yn yr ysgrythyrau. Feallai y dywed rhywun nad wyf fi yn deilwng i farnu; o herwydd paham? onid wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt? canys fe ddywed Timotheus wrthym am ryw fath o ddynion "a chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi; a'r rhai hyn gochel di." Pa fodd y gallaf eu gochel, heb yn gyntaf eu barnu? Profwch bob peth, deliwch yr hyn sy dda. Feallai yr ymddengys fy ysgrif yn dra rhyfedd i lawer o goelgrefyddwyr yr oes hon, trwy ei bod yn ergydio at brif golofnau cyfeiliornadau yr oes. Yn gyntaf, yr anmhosibilrwydd i ddynion fod yn dduwiol gyda gwahanol bleidiau o wahanol farnau. Er cymaint o grefyddwyr sydd yn adeiladu ar gasgliadau, ni chlywais fod neb erioed yn casglu fod rhagor nag un eglwys gan Dduw yn y byd; ond y mae llawer eglwys gan ddynion, a digon rhyngddynt â bod yn un mewn barn a chariad. Oni ddywed Paul, "Un corff sydd ac un Ysbryd, megys ac y'ch galwyd yn un gobaith eich galwedigaeth, Un Arglwydd, un ffydd, un bedydd, un Duw, a Thad oll; yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll: a bydd un gorlan ac un bugail." Iё, ebe rhywun, yr ydym yn credu yn yr un Crist, ac yn addoli yr un Duw, ac nid oes dim rhyngom o bwys ond y *plisg, y ffiniau gwellt, &c.* Cofiwch! pwy sydd yn dweyd mai nid pob un sydd yn dyweyd wrthyf, Arglwydd, Arglwydd, a ddaw i mewn i deyrnas nefoedd? pa fodd y gallwch, yn unol a'r ysgrythyr, addoli yr un Duw, a chredu yn yr un Crist, heb ddilyn yr unig reol, heb gadw yr un deddfau, heb gyflawni yr un dyledswyddau, heb synied yr un pethau, ac heb gladdu y gwahanol farnau? canys fe ddywed Paul, "Ac yr wyf yn atolwg i chwi, frodyr, yn enw'r Arglwydd Iesu Grist, ddywedyd o bawb o honoch chwi yr un peth, ac na byddo ymbleidio yn eich plith; eithr bod o honoch wedi eich cyfangyssylltu yn yr un meddwl ac yn yr un farn;" a chan fod yr holl ysgrythyr wedi ei rhoddi trwy ysbrydoliaeth Duw, yr hon nis gellir ei thori, pa fodd y gall

dynion o wahanol farnau fod yn gadwedig yn ngwyneb y gair yr hwn sydd i'w barnu? Mathew hefyd a ddywed, "Ac fel hyn y gwnaethoch orchymynion Duw yn ddirym trwy eich traddodiad eich hun. O ragrithwyr, da y proffwydodd Esaias am danoch, gan ddywedyd, Nesâu y mae y bobl hyn ataf a'u genau, a'm hanrhydeddu a'u gwefusau, a'u calon sydd bell oddiwrthyf; eithr yn ofer y'm hanrhydeddant, gan ddysgu gorchymynion dynion yn ddysgeidiaeth." Pwy yw y rhai'n, ebe rhywun? Chwiliwch yr ysgrythyrau yn ddiragfarn, ac yna cewch weled yn amlwg.

Cyfeiliornad arall sydd nid llai na'r un a nodais, sef haeru o bwlpudau a phenau stolau, gan ddynion a broffesant mewn gair eu bod yn credu yr efengyl, nad yw gorchymynion pendant Crist ddim o bwys, ond y gwna rhyw ddefodau a traddodiadau eu hunain y tro yr un cystal; nis gwn i pa sail sydd ganddynt, "Canys yn wir meddaf i chwi, hyd onid el y nef a'r ddaear heibio, nid â un iot nac un tipyn o'r gyfraith heibio hyd oni chwblhaer oll." Y mae'n resynus meddwl fod cymmaint yn ein gwlad yn credu y pethau blaenorol, a thrwy hyny yn ymorphwys heb chwilio na barnu drostynt eu hunain, ond meddwl fod pob peth o'r goreu, ond i bob un ddilyn crefydd eu tadau, heb ammau dim am y nefoedd yn y diwedd, *right or wrong*.

Dymunaf ar bawb ag sydd wedi credu y cyfeiliornadau uchod, os ydynt yn credu peth o'r gair, i gofio gwraig Lot; pe byddai rhyw orchymyn yn ddibwys, gallesid meddwl nad oedd fawr niwed mewn edrych yn ol, ond wele siampl o bwysigrwydd deddfau Duw; canys pwy bynag a gadwo'r gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwnc, y mae efe yn euog o'r cwbl. Am hyny dymunaf i rai o'r pregethwyr mawr sydd yn haeru y pethau hyn, er mwyn cadw eu cynnulleidfaoedd ynghyd a'u gilydd, (canys dyma rwymyn eu cynnulleidfaoedd,) i brofi cywirdeb eu rhesymiadau â'r ysgrythyrau, ac annog eu gwrandawyr i roddi heibio pob drygioni, a phob twyll, a rhagrith, a chenfigen, a phob gogan-air. Fel rhai bychain newydd eni, chwennychwch ddidwyll laeth y gair, fel y cynnyddoch trwyddo ef.

*Glyntarell.* CYMRO CLOFF.

---

## PREGETHWR LLWYDDIANNUS.

Ni bu pla ar y ddaear erioed heb fod yn bregethwr llwyddiannus. Aeth unwaith at Pharaoh bechadurus, ac ni bu ei fynedfa yn

ofer, er fod Pharaoh wedi chwennych Sarai gwraig Abram, ac o fwriad i'w cadw hi; ond y bregeth gyntaf a roddodd y pregethwr enwog hwn, fe'i hargyhoeddodd nes iddo roddi "gorchymyn i'w ddynion ei gollwng hi ymaith" (Gen. xii. 20). Dro arall, pan oedd Moses, druan, yn ymdrechu argyhoeddi'r pechadur hwn, a'i annog i adael ei ffyrdd drygionus, ond y cwbl yn ofer; daeth yr un gwr enwog heibio, a phan oedd braidd tua hanner ei bregeth, wele Pharaoh galon-galed gynt, yn bloeddio allan, "Pechais y waith hon: yr Arglwydd sydd gyfiawn, a minnau a'm pobl yn annuwiol," &c., (Exod. ix, 27). O, bregethwr llwyddianus, onite? Felly, y mae y pregethwr enwog hwn wedi ymweled â'r byd yn ein dyddiau ni; ie, wedi dyfod i Gymru, fel nad oes achos olrhain na chwilio am hanes ei lwyddiant yn yr oesoedd mynedol; oblegid wele ddesgrifiad o'i lwyddiant yn *Seren Gomer* am Awst, 1849, tud. 248, gan T. ab Ieuan, lle y dywed, "Nid yn unig y mae y capeli yn y Gweithfeydd yn cael eu gor-lenwi, ond y maent wrth yr ugeiniau yn dywedyd "Awn gyda chwi," &c., a hyny o herwydd "gwrandaw ar lais effeithiol-gamp" y pregethwr hwn. Wel, bellach, y mae'n bryd i'r rhai hyny a ystyriant eu hunain yn weision Duw, daflu eu harfau i lawr, a rhoddi lle i'r pregethwr llwyddiannus hwn i fyned yn mlaen yn ei weinidogaeth effeithiol. O, ie, gwelaf mai felly y bydd yn fuan, oblegid dacw enwog yr holl enwogion, a chawr mawr yr holl gewri, sef y Parch. W. R. Davies o Ddowlais, yr hwn oedd gynt a'i lais fel taranau Sinai, ac yn dychrynu braidd holl grefyddwyr paganaidd Dowlais, â'i ddrws yn gauedig, ac estyll yn gorchuddio ffenestri ei dŷ. Wel, pa le yr aeth? Nis gwn ragor na'i fod wedi myned i chwilio am fan lle nad yw y pregethwr llwyddiannus hwn wedi dyfod ar ei daith hyd yn hyn. Ai tybied fod y pregethwr hwn yn argyhoeddi'n wirioneddol? Ydyw, medd *Seren Gomer* (gwel am Awst tud. 248) lle y dywed, "Ië, nid oes cymmaint o sôn am gynnydd yn mysg y 'Seintiau' mewn amgylchiad fel hyn, ond pan oedd y byd yn ysgafn a difraw, caent hwy eu rhan fel ereill; ond pan ddelo achos enaid yn ddifrifol o flaen y meddwl, nid cymmaint sydd o dynu atynt hwy," &c. Trueni na fuasai Mab Duw yn gwybod mai pregethwr o'r natur yma fuasai fwyaf llwyddiannus er argyhoeddi a dangos mater enaid o flaen meddyliau pobl. Os yw'r argyhoeddiad yn un gwirioneddol, ni fuasai byth mor ffol ag anfon pysgodwyr glan môr Galilea, gan ddweyd wrthynt am bregethu efenyl, &c.; ac ni ddywedai Paul, pe gwybuasai, mai trwy ffolineb

pregethu mai achub y rhai sydd yn credu. Ond a yw hwn yn Fedyddiwr? Na, ni chlywais ei fod wedi bedyddio neb, ac ni fydd gweinidog i fedyddio yn fuan, ond gan y Seintiau; oblegid, y mae pen-bugail Dowlais wedi ffoi eisoes, a gadael rhwng y praidd a'r bleiddiaid. Gwna hyn i mi feddwl am y geiriau a ddywedodd ein Harglwydd Iesu (gwel Ioan, x, 11—13),—"Y bugail da sydd yn rhoddi ei einioes dros y defaid. Eithr y gwas cyflog, a'r hwn nid yw fugail, yr hwn nid eiddo y defaid, sydd yn gweled y blaidd yn dyfod, ac yn gadael y defaid, ac yn ffoi: a'r blaidd sydd yn eu hysglyfio hwy, ac yn tarfu y defaid. Y mae y gwas cyflog yn ffoi, oblegid mai gwas cyflog yw, ac nid oes ofal arno am y defaid." Nid rhyfedd i Mr. Davies i ffoi, oblegid mai gwas cyflog oedd yntau; ond gobeithiaf yn awr y bydd y rhai hyny ag oedd Mr. Davies yn bugeilio arnynt ar y tywydd teg, i chwilio am gorlan a defaid Iesu, fel y cânt fugail a'u bugeilia trwy bob tywydd.

Gwelwn bellach, mai trwy ffolineb pregethu mae Duw yn achub y rhai sydd credu, ac nid trwy y pregethwr llwyddiannus uchod. Ac y mae braidd yr holl enwadau wedi dyfod o'r farn hyny hefyd; onite, paham neillduo dydd ympryd a gweddi, trwy Merthyr a'r cylchoedd, er dymuno ar i'r Arglwydd ei ddanfon o'r wlad!! T. H.

---

## DIRGELWCH DIWYGIAD SECTYDDOL; NEU YMDDYDDAN RHWNG DAU BARCHEDIG.

EVANS—Boreu da i chwi, Mr. Jones. Beth yw y mater eich bod yn edrych mor drist?

Jones—Wel, yr wyf yn cael fy mlino yn enbyd yn y dyddiau hyn yn achos crefydd, ac yn neillduol ynghylch y grefydd newydd yna, sef crefydd y Seintiau.

E.—Mae yn wir y gweddai fod achos crefydd yn agos iawn at ein calon; ond gobeithio nad yw y Seintiau wedi cythryblu eich meddwl, na thynu eich sylw atynt mewn un modd.

J.—Y gwir yw, Mr Evans, mae y Seintiau yna yn teilyngu mwy o'm sylw i a chwithau, a brodyr ereill hefyd, nag a allem byth feddwl. Nid gwiw i ni eu gadael yn ddisylw.

E.—Ni chredais felly o'r blaen; ond gwn eich bod chwi yn ddyn call a dysgedig, ac am hyny yr wyf yn eich credu.

J.—Rhaid i chwithau ddeffroi yn awr o ddifrif, ac ymdrechu

dod yn gall a dysgedig hefyd, fel y gallom ddyfeisio y ffordd oreu i gadw crefyddau ein hunain mewn grym, ac hefyd i osod terfyn ar y Saint.

E.—Wel, yr wyf fi yn eu casâu o galon, yn neillduol pan y meddyliwyf eu bod hwy am ddystrywio ein crefyddau ni, ac yn bedyddio rhai o'n haelodau goreu.

J.—Beth a allwn ddyfeisio, fel y gallom ddylanwadu ar ein haelodau i'w casâu a'u herlid?

E.—Meddyliwyf y gwna yr hen gynllun lwyddo yn burion, dim ond i ni ei ddilyn dipyn yn wresog; h.y., annog pawb i'w galw wrth eu henwau priodol, sef Sataniaid, twyllwyr, gau-brophwydi, &c., a chyhoeddi yn y pwlpudau a'r misolion bob stori a glywir am danynt, a rhoddi ein henwau wrthynt, rhag i'r bobl anghredu. Ffolineb fyddai ymresymu â neb o honynt o'r ysgrythyrau, canys y maent mor ddichellgar, nes sylwi ar bob gair bach sydd yn ein herbyn ni a'n crefydd, er ein gorchfygu. Storiau da am danynt yw y peth goreu i'w dyfetha, feddyliwn i.

J.—Mae yn ddrwg genyf nad wyf yn cydweled â chwi ynghylch hyna. Treiwyd hyny oll yn deg yn yr America, ac i raddau helaeth yn Nghymru; ond llwyddo yn rhyfeddol mae y Seintiau er y cyfan. Cyhoeddwyd pob hen stori a ellid gael am danynt, a rhaid addef fod llawer o honynt yn ddigon celwyddog hefyd; ond etto, llwyddo mae y Seintiau yn barhaus, gan fedyddio ein haelodau wrth yr ugeiniau.

E.—Mi welaf mai gwirionedd yw yr hyn a ddywedwch. Ond beth arall ellir wneyd? A wyddoch chwi am ryw gynllun gwell?

J.—Yr wyf wedi myfyrio llawer yn y tri mis diweddaf yn nghylch y peth, ac wedi gosod fy mryd ar gynllun newydd, yr hwn, feddyliaf, a ateba well dyben nâ dim arall.

E.—Wel, da chwi, gwnewch ei adrodd yn awr, fel y gallom ei osod mewn gweithrediad buan.

J.—Yr unig ffordd i ddiogelu ein crefyddau ni, a diwreiddio y Seintiau, yw ymdrechu am Ddiwygiad blodeuog a gwresog yn ein plith fel enwadau; ac wedi hyny, gallwn fwgwth ein haelodau, y gwnawn eu rhoddi i'r Seintiau, os na ofalant i dalu am ein llafur ni, a chadw eu cydgynnulliad, &c. Mae yn well, er i ni sicrhau ein haelodau, beidio byth eu gwahardd i wrandaw y Saint, rhag iddynt feddwl mai elw bydol sydd yn ein golwg: ond byddwn dipyn yn ddifater, yn neillduol wedi cael diwygiad, a dywedwn weithiau am ein haelodau drwg, y byddai yn well eu bod gyda y

Seintiau nâ chyda ni, a bod yn drugaredd fawr i eglwysi y wlad fod y domen Formonaidd yn gyfleus i dderbyn eu hysgubion.

E.—Rhagorol, yn wir; ond pa fodd y mae effeithio y diwygiad? Rhaid cael rhywbeth gyda phregethu, os nad wy'n camsynied.

J.—Rhaid, a dyma fe. Pan fyddaf fi yn pregethu, bydd i mi waeddi "Diolch" yn fynych, ac yna gwaeddwch chwithau "Gogoniant;" yna, bydd y blaenoriaid yn sicr o waeddi Amen, nes y byddo'r capel yn foliannu trwyddo. Clywir am hyny wed'yn trwy'r holl gymmydogaeth, ac aiff pawb i ymofyn am grefydd, yn neillduol yn amser pla a newyn; a bydd yn ddiwygiad cyffredinol, yn mhob man y dechreuir gwaeddi felly.

E.—Dyna hi yn ardderchog neillduol. Gweithio yw y peth nesaf. Ni allai y Bôd mawr ei hunan ddymuno dim yn well. Nos y fory, frawd Jones, am bregeth y Mab Afradlon; mae hono yn effeithiol iawn; byddaf fi o dan y pwlpud yn uwch nâ neb, a symudwn bob oerfelgarwch o'r capel, nes y byddom ar dân cariad yn moliannu Duw.

J.—Amen; felly y byddo. Ffarwel yn awr, a meddyliwch yn ddwys am y diwygiad.

ABEL EVANS.

---

## CAETHIWED CYHOEDDWR.

MR. GOL.,—Dygwyddodd i mi, ar y 5med o Orphenaf diweddaf, fyned i Lannerchymedd, yn sir Fôn, i'r dyben o bregethu; a chan fy mod am i'r bobl gael gwybodaeth, danfonais frawd o'r enw Hugh Jones i ymofyn am y cyhoeddwr cyffredin er cyhoeddi hyny trwy y dref. Wedi gweled hwnw, a cheisio ganddo i'm cyhoeddi i bregethu, atebodd fel hyn—"Nid wyf fi i gyhoeddi pob peth, ac ofnwyf nas gallaf gyhoeddi eich pregethwr chwi; ond beth bynag, mi ofynaf i'r gweinidog." Felly y bu, fe ofynodd; ond deallwyd yn fuan nad oedd y gweinidog yn caniatâu hyny. Yr oedd at ei ryddid i gyhoeddi cwn a moch, ffeiriau a chwareuyddiaethau—mewn gair, pob peth, ond pregethwr y Saint. Yna gorfu i mi gymmeryd yr anrhydedd i mi fy hun o gyhoeddi trwy y dref yn ei le; a chyda hysbysu am y bregeth, yr oeddwn yn gorfod hysbysu i'r cyhoedd paham yr oeddwn yn cymmeryd swydd y cyhoeddwr caeth dan sylw; a thystiai y bobl fy mod i yn llanw ei swydd yn llawer gwell nag ef. Nid wyf fi yn meddwl ceisio ganddo byth etto, ond gwnaf gyhoeddi fy hunan; ac fe

allai, os na chaiff y cyhoeddwr ei hun o grafangau Methodistaidd ei weinidog, yr â pawb yn Llannerchymedd i gyhoeddi eu hunain hefyd. Ar ol y trafferth a gymmerais, a'r bygwthiadau a dderbyniais, cafwyd cyfarfod ardderchog, a thystiodd llawer eu bod yn credu am yr ymadroddion sydd yn dechreu rhai yn Nghrist.

Yr eiddoch yn y gwirionedd,

ABEL EVANS.

---

## HIRAETH AM SEION.

MAE'r Iesu'n myn'd i gasglu ei ffyddlon blant yn nghyd,
I'r man mae wedi ddewis er cyn sylfaenu'r byd;
Mae miloedd yn ein dyddiau yn llwyr ddi'styru'r gwaith,
Er hyn gwna'r Duw addawodd eu dwyn i ben eu taith.

Gwyn fyd na bawn i heddyw o fewn i Seion wiw,
Y wlad mae sôn am dani gan holl brophwydi Duw;
Yn lle bod mewn caethiwed o fewn i Babel dir
Yn dysgwyl am ymwared, a'm traed dan gloion dur.

Mae'r Iesu wedi addaw pan yma yn y byd
I ddwyn ei deulu ato o fewn i Seion glyd;
Ac na chai ewin drigo heb waredigaeth gref,
Ond Judas, 'rhwn a'i gwerthodd, ac a'i bradychodd ef.

Am hyny, byddwn ffyddlon tra mewn caethiwed blin,
Gan dystiolaethu'n wastad fod Duw a'i waith yr un;
Ei addewidion safant yn ïe, ac Amen
I bawb a ufyddhao i eiriau Crist, ein pen.

O ddyfrif rhowch ufydd-dod i eiriau'r Iesu glân,
Fel galloch feddu sicrwydd, sef dawn yr Ysbryd Glân,
Yn ernes o'r mabwysiad a'r etifeddiaeth sy,
Yn nghadw mewn goleuni i deulu'r Iesu cu.

Yn awr, 'rwyf yn terfynu yn ngeiriau Paul, ein brawd,
Yr hwn fu ar y ddaear yn dyoddef gwg a gwawd,
Am brofi pob egwyddor, a dala'r hyn sydd dda,
Fel galloch gael eich cadw rhag newyn, haint, na phla.

*Cwmrhydybedd, Dowlais.* WILLIAM THOMAS.

---

## TYSTIOLAETH ATHRAW DUWINYDDOL AM SANT.

LLAWER o haeru sydd wedi bod, nad oes un dyn o gymmeriad, nac o synwyr, yn mhlith y Saint. Er mwyn y Parch. W. R. Davies, Dowlais, y Parch. D. Jones, Felinfoel, a lluoedd ereill o'r duwiolion sydd wedi ynganu a chanu eu goreu er profi nad oes gyda'r Seintiau neb yn werth sylw, nac yn deilwng o un ymddiried, dyfynwn ran o lythyr y Parch. T. Thomas, Athraw Duwin-

yddol Coleg Pontypool, at un o'r Saint, yr hwn oedd wedi gadael y Bedyddwyr. Mr. Arthur, siopwr, Abersychan, yw y Sant; ac ato ef yr ysgrifenodd Mr. Thomas ei lythyr, o'r hwn y cyfieithiwn a ganlyn :—

"Penygarn, Chwef. 26, 1849.

"Fy anwyl Syr,—Yr wyf wedi clywed, gyda syndod mawr a gofid, am y llwybr a gymmerasoch yn ddiweddar o ymuno a'r bobl a alwant eu hunain yn 'Saint y Dyddiau Diweddaf.' Nis gallaf fi beidio eich trwblu ag ychydig o linellau, i ddangos fy nhristwch o fod person a berchais gymmaint, ac un a gariai gymmeriad cyfrifol am ddidwylledd a synwyr da, wedi rhoi ei glust dros fynyd i wrandaw ar honiadau gwag plaid na ddangosodd ei chyffelyb erioed ar y ddaear wedi eu twyllo yn fwy truenus. Nis gwn am ddim i'w gymharu â'r twyll ynfyd hwn, ond eiddo canlynwyr Johannah Southcotte. * * * * * Anwyl gyfaill, dyoddefwch air o gynghor. Cyn yr ewch ddim yn mhellach, aroswch i 'ystyried eich ffyrdd;' adfyfyriwch, yr wyf yn dymuno arnoch, o ba le yr ydych wedi crwydro? pa le yr y'ch yn myned? ac i ba le, dan dywysiad gau oleuadau penboethni, y teithiwch, ac yr arweiniwch eneidiau gwerthfawr eich plant? A ydych chwi mewn gwirionedd yn meddwl rhoi'r drygair i'ch holl broffesiadau blaenorol, a dinystrio ar unwaith effaith llawer blwyddyn o lafur diwyd a defnyddiol yn eglwys Dduw? A ydych chwi yn meddwl cyhoeddi i'r byd, am yr holl flynyddau hyn y buoch yn Athraw Ysgol Sabbothol ac yn Ddiacon yn eglwys Iesu Grist, i chwi gael eich twyllo eich hunan, ac i chwithau dwyllo ereill? Holwch eich hunan. * * * * *

"Ydwyf, anwyl Syr, yr eiddoch mewn gwirionedd,

"Thos. Thomas.

"O. Y.—Os bydd i'r sylwadau hyn dynu eich sylw caruaidd, byddaf barod i'ch cyfarfod chwi naill ai yma neu yn nhŷ eich hunan, ar ol yr wythnos hon, i egluro fy ngolygiadau, ac i gyfarfod â'ch anhawsderau chwi."

Amser yn unig sydd yn eisieu ar y Saint, cyn y gallant gael atebion addas gan eu gelynion i'w gofyniadau eu hunain. Mor bwrpasol mai y parchedig uchod yn ateb dros y Saint? Pa dystiolaeth a ellid roddi yn well? Ond, digon tebyg, fod y parchedig yn meddwl, wrth ysgrifenu mor foneddigaidd, i ddal Mr. Arthur yn ei rwyd; eithr, wrth wneuthur hyny, fe wel iddo daflu ei emau o flaen moch, ac iddo golli Mr. Arthur yn y fargen.

---

## HANESION AM IACHAD.

Fe wŷr ein darllenwyr yn dda, yn Merthyr, o leiaf, na fyddai gwiw i ni, yn yr amser presennol, feddwl cyhoeddi yr holl hanesion a allem gael am iachâd o'r Cholera; oherwydd, gwnaent

fwy nâ llanw cyhoeddiad sydd yn rhy fach o lawer eisoes, er gwasanaethu plaid ag sydd wedi dyfod mor lliosog. Gobeithio, er hyny, na fydd Llywydd un Gangen heb osod rhywun i gadw coffadwriaeth o'r pethau hynod sydd yn dygwydd yn eu plith, fel y caffo y Saint mewn amser i ddyfod weled mawr allu Duw yn ein plith yn yr oes hon.

Mae y brawd John Morris, o sir Benfro, wedi ysgrifenu atom amryw hanesion o'r parth hwnw, o ba rai dyfynwn a ganlyn am dano ei hunan:—"Wedi bod yn Nghangen Stepper's-side, ac yn ceryddu ysbryd aflan allan o rywun yno, aethum yn mlaen ar fy nhaith; ond cyn i mi fyned oddeutu un filltir, cymmerwyd fi gan boen enbyd yn fy arenau, ac wed'yn gan grebachiad yn fy ymysgaroedd ac ymchwydiad. Ymdrechais fyned yn y blaen, ond meddyliais nad allwn gyrhaedd adref felly; ac yna penderfynais droi yn ol i dŷ un o'r henuriaid, yr hwn a gyrhaeddais nid heb ymdrech dêg. Dywedai gwraig o'r byd am danaf ei bod hi yn meddwl fy mod yn myned i farw, gan mor ddrwg yr edrychwn. Danfonwyd yn union am yr henuriaid, ac hyd nes y daethant yr oeddwn mewn arteithiau enbyd, ac yn parhau i chwydu o hyd. Yna wedi gweini olew i mi, ac arddodi dwylaw, a gweddio, daethum i'm lle; a boreu dranoeth, teithiais gartref y pellder o un filltir ar ddeg. Gallaf ddweyd yn hyf, pe na buaswn wedi cwrddid â'r henuriaid, y buaswn wedi myned i fyd arall." Rhydd hanes cyffelyb hefyd am frawd arall o'r enw John Griffiths, yr hwn a iachâwyd yr un modd o'r un afiechyd.

Os bydd rhywun yn gwybod am amgylchiad neillduol iawn, bydd yn dda genym gael ei gyhoeddi. Mae digon o welliadau cyffredin yn ein hymyl bob dydd, o ba rai yr ydym yn dystion ein hunain. Gallem adrodd pa fodd y cawsom iechyd ein hunain, o fewn y mis hwn, pe buasai yn fwy hynod nâ gwelliadau ein brodyr yn gyffredin; ond dywedwn ddarfod i ni dderbyn gwaredigaeth trwy yr "olew," ynghyd a gweddi; a rhywbeth yn gyffelyb y buasai yr ugeiniau sydd yn gwella o'n brodyr a'n chwiorydd yn dystiolaethu hefyd; ac felly, mae amgylchiad neu ddau yn gwneyd y tro am y cyfan.

Ni chynghorem y Saint, mewn un modd, i fostio nemawr wrth y byd am eu gwelliadau, oblegid na wna hyny ond eu cynhyrfu yn waeth, yn enwedig yn amser pläau. Fe ddylem wybod, gan fod pla yn gwneyd crefyddwyr wrth y cannoedd, fod ein gelynion yn amlhau yn gyferbyniol.

## OLIVE OIL A CASTER OIL YN DDA AT Y CHOLERA.

Mae yn dda genym fod y newyddiaduron yn rhoddi cymmeradwyaeth i'r olew hwnw a ddefnyddiwyd gan y Saint yn Nghaerdyf yn ddiweddar, at blentyn oedd yn y Cholera, am yr hyn y cospid y gweinyddwr pe gwybyddid pwy oedd. Yr ydym wedi darllen amryw ddarnau ynghylch yr *olive oil* ei hunan, ond yr un canlynol yw yr unig un y cawsom gyfleustra i'w gopio, yr hwn a ddengys debygolrwydd y ddau olew. Cymmerasom ef o'r *Weekly Times*, am Gorph. 22, 1849, ac y mae fel y canlyn:—

"Y Cholera.—Syr,—Yr wyf wedi gweled yn mhapyr y *Times* ddernyn hir ar y testun o wellhau y Cholera trwy effeithioldeb *olive oil*. Gan nad wyf fi o'r alwad feddygol, nid wyf wrth gwrs yn gwybod pa un a oes rhyw debygolrwydd rhwng *olive oil* a *caster oil* yn eu heffeithiau ar y cyfansoddiad; ond mae yr amgylchiad yn fy adgoffa am y cynghor a roddwyd i mi gan un Dr. Thompson, o gryn enwogrwydd, pan yn Edinburgh oddeutu deg mlynedd yn ol, lle yr oedd y cholera yn lled ddrwg ar y pryd, yr hwn gynghor sydd i'r perwyl hyn:—'Cymmerwch gynghor genyf, os byddwch unrhyw bryd yn teimlaw eich hymysgaroedd yn beryglus o ryddion, brysiwch i siop y cyffeiriwr cyntaf, a chymmerwch *ddognaid lawn o gaster oil*, ac os na fydd iddo effeithio mewn ychydig o amser, cymmerwch ddognaid arall. Na ddychrynwch, ni wna eich niweidio beth bynag, yn y mesur lleiaf, ac yr wyf yn sicrhau i chwi y cedwir chwi rhag effeithiau marwol y cholera;' gan ychwanegu, 'Nid wyf wedi colli un claf a ddaeth ataf mewn pryd; ond os bydd i chwi oedi nes y byddo cyd-syrthiad (*collapse*) yn cymmeryd lle, y mae yn ammheuol pa un a wna olew neu unrhyw feddyginiaeth arall byth attal gweithrediad marwol yr afiechyd." Yr eiddoch yn barchus,

Llundain, 7 mis—Gorph. 16, 1849. Thos. Motley.

[O. Y. Dylaswn ychwanegu fod y doctor yn cynghori yn neillduol i beidio cymmeryd bwyd o natur surllyd neu gynhyrfiol, neu wlybwr o natur cyffrous a gwirodawl.]

---

## CYMMANFA GYFFREDINOL CYMRU.

Cynnaliwyd y Gymmanfa uchod yn Merthyr, ar y 29ain a'r 30ain o Orphenaf diweddaf. Dechreuwyd am naw, boreu dydd Sul, yn Neuadd y Cymreigyddion, trwy ganu a gweddio gan y Llywydd W. Phillips, yr hwn a ddewiswyd yn flaenorol i lywyddu y gymmanfa. Yna wedi i'r Llywydd anerch y gynnulleidfa, a dangos eu bod wedi ymgynnull er ymosod yn fwy effeithiol ar deyrnas y gelyn, galwodd am gynnrychioliad yr holl Gynnadleddau trwy Gymru, y rhai gafwyd fel y canlyn:—

| Cynnadleddau. | Llywyddion. | Cang. | Hen. | Off. | Ath. | Dia. | Bed. | Cyfan. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Dwyr. Morganwg | W. Phillips . | 15 | 101 | 78 | 81 | 41 | 714 | 2238 |
| Gor. Morganwg . | Thos. Pugh . | 14 | 46 | 26 | 21 | 14 | 201 | 416 |
| Sir Fynwy . . . . | Thos Giles . | 18 | 55 | 19 | 28 | 21 | * | 586 |
| Sir Gaerfyrddin . | H. Williams. | 12 | 48 | 29 | 27 | 12 | 150 | 492 |
| DwyreiniolCymru | W. Henshaw | 10 | 22 | 19 | 17 | 8 | 120 | 335 |
| Sir Aberteifi . . . | Alfred Clark | 1 | 4 | 5 | 2 | 1 | 4 | 44 |
| Sir Frycheiniog . | John Jones . | 1 | 5 | 2 | 0 | 0 | 6 | 24 |
| Sir Benfro . . . . | John Morris | 9 | 10 | 11 | 2 | 1 | 44 | 102 |
| Sir Feirionydd . . | E. Edwards . | 5 | 12 | 5 | 1 | 0 | 14 | 81 |
| Sir Fflint . . . . | John Davies | 4 | 10 | 7 | 2 | 2 | 23 | 65 |
| Sir Ddinbych . . | John Parry . | 3 | 7 | 11 | 5 | 4 | 40 | 91 |
| Sir Fôn . . . . . | Abel Evans . | 3 | 5 | 6 | 3 | 1 | 43 | 55 |
| | Cyfanswm . . . . . | 92 | 325 | 218 | 189 | 107 | 1359 | 4529 |

[Y nifer a fedyddiwyd er y 1af o Ionawr, 1849, yw y rhifedi uchod; a dengys y seren yn nghyfrif Thos. Giles, ei fod beb ddyfod â chyfrif y bedyddiadau i mewn.] Terfynwyd y cyfarfod boreuol yn Seisneg, gan W. Henshaw.

Am 11 o'r gloch, allan o flaen Tŷ y Farchnad, agorwyd y cyfarfod gan Abel Evans. Yna anerchwyd y gynnulleidfa liosog gan Thos. Pugh, ynghylch "cynghor Duw," a chan J. Morris, yn Saesneg, ar deyrnas Dduw. Abel Evans, wedi hyny, a ddarluniodd y gwahanol anghredinwyr; a therfynwyd gan y Llywydd.

Am hanner awr wedi dau, agorwyd y cyfarfod gan W. Rees, yn yr un lle; a chyfododd y Llywydd i anerch y dorf ynghylch tystiolaeth y Saint. Yna W. Henshaw, yn Saesneg, a eglurodd yr egwyddorion cyntaf; a dilynwyd ef gan E. Edwards ynghylch dewis adfyd gyda phobl Dduw, o flaen golud y byd. Yna terfynwyd drwy weddi gan yr ysgrifenydd.

Yn yr hwyr, am chwech, dechreuwyd gan Howell Williams, yn yr un lle. Yna W. Evans, Rymni, a ddarluniodd wahanol byneiau; ac ar ei ol John Carver a ddechreuodd anerch y dorf yn Saesneg, ond buan yr attaliwyd ef gan y gwlaw. Yna, wedi gweddio gan A. Evans, gohiriwyd hyd ddeg boreu dranoeth. Ymddangosai y dyrfa yn awyddus i wrandaw ychwaneg, er y cyfan, ac ni ymadawsant nes cael gweled y pregethwyr yn ymadael.

Dydd Llun, am ddeg, agorwyd y cyfarfod yn Neuadd y Cymreigyddion gan John Philips. Yna y Llywydd a anerchodd y Saint mewn perthynas i'r anghenrheidrwydd o fod yr holl swyddogion yn hogi eu bwyelli i osod ar wreiddiau yr holl breniau drwg, a'u tori i lawr. Annogodd, mewn modd effeithiol iawn, y

Saint a'r swyddogion i fywiogrwydd, ac i gadw y tân dwyfol yn ei lawn rym yn mhob man lle yr elont. Yna rhoddodd le i Abel Evans, yr hwn a adroddodd amryw bethau difyrus iawn, gan annog ei frodyr i ddyfod i lafurio yn y Gogledd. Yna galwyd yr ysgrifenydd i roddi cyfrif o'r holl eglwys yn Nghymru, yr hwn hefyd a areithiodd yn fyr. Gofynodd y Llywydd os oedd gan rywun yn bresennol rywbeth yn erbyn Llywyddion y Cynnadleddau, a chafwyd nad oedd dim. Yna penderfynwyd cynnal Brigham Young a'i gynghorwyr, a'r Deuddeg, ynghyd â Llywyddion y Cynnadleddau yn Nghymru. Ar gynnygiad Thos. Pugh, penderfynwyd hefyd fod yr holl Gynnadleddau, a'r Saint oll, i gymmeradwyo ac ufyddhau i lywyddiaeth y Llywydd Phillips, a'i Gynghorwyr A. Evans a J. Davis.

Yna penderfynwyd fod Thomas Morgans i lywyddu ar Gynnadledd Sir Fon, a David Williams a William Isaac yn Gynghorwyr iddo.

Penderfynwyd gwneyd Sir Aberteifi yn Gynnadledd, ac Alfred Clark yn Llywydd, a William Jones yn Gynghorwr.

Penderfynwyd fod Sir Frycheiniog i'w gwneyd yn Gynnadledd, a John Jones yn Llywydd, a Phillip Seix a George Bywater yn Gynghorwyr.

Penderfynwyd fod Llywydd pob Cynnadledd i feddu hawl i ddwyn holl lywyddion y Cangenau o flaen y Cynghor, pan na fyddant yn talu am y llyfrau a dderbyniant.

Yna wedi galw ychydig swyddogion, &c., terfynwyd, yn Saesneg, gan W. Henshaw.

Am hanner awr wedi dau, dechreuwyd yfed tê, wedi gofyn bendith gan W. Phillips, a pharhawyd yn gwledda hyd hanner awr wedi saith, pan ddechreuwyd y cyfarfod cyhoeddus, yn yr un lle, gan yr ysgrifenydd. Yna, wedi rheoleiddio cangenau Seisnig yn Merthyr a Phendaren, a rhyw gyfnewidiadau ereill, a chyhoeddi y symiau a gasglwyd at y Deml, galwyd ar John Jones, Brycheiniog, i anerch y gynnulleidfa liosog, ynghylch yr egwyddorion cyntaf, yr hwn a ddilynwyd gan John Davies, Fflint, ynghylch y gareg a welodd Daniel. Wedi hyny, galwyd ar T. Giles i anerch y cyfarfod; ac yna areithiodd yr ysgrifenydd yn fyr, yr hwn a ddilynwyd gan Abel Evans mewn modd hyawdl. Yna terfynwyd y cyfarfod gan y Llywydd.—Yr oedd y cantorion yn canu rhwng pob araeth yn y cyfarfod hwn, ac yn aml yn y cyfarfodydd ereill.

Cynnaliwyd cyfarfod i'r Saeson yn yr Ivy Bush, yn amser y

cyfarfod diweddaf.—Cafwyd hwyl neillduol trwy yr holl gymmanfa, a lluoedd lawer i wrandaw, gydag argoelion yr ufyddha ugeiniau yn fuan.

WILLIAM PHILLIPS, *Llywydd*,
JOHN DAVIS, *Ysgrifenydd*.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR FON.

CYNNALIWYD cymmanfa y sir hon yn Bangor, ar yr 8fed o Orpaenaf diweddaf. Wedi agor y gymmanfa gan D. Williams, galwyd ar Abel Evans i lywyddu, yr hwn, ar ol anerch y gynnulleidfa, a alwodd am gynnrychioliad y gynnadledd, yr hon a gynnwysai un gangen, 5 henuriad, 6 offeiriad, 3 athraw, ac 1 diacon; bedyddiwyd yn y tri mis diweddaf, 33; y cyfanswm, 52. Rheoleiddiwyd cangen yn Bangor ac yn Nghaernarfon.

A. EVANS, *Llywydd*.

### SIR DDINBYCH.

Cymmanfa y gynnadledd hon a gynnaliwyd ar y 15fed o Orphenaf. Cymmerwyd rhan yn y cyfarfodydd gan Abel Evans. Cynnrychiolwyd tair o gangenau, yn cynnwys 6 o henuriaid, 8 o offeiriaid, 2 athraw, a 3 diacon; bedyddiwyd er y gymmanfa o'r blaen, 12; y cyfanswm, 84. Galwyd un henuriad, tri offeiriad, dau athraw, ac un diacon. J. PARRY, *Llywydd*.

### SIR FEIRIONYDD.

Cynnaliwyd cymmanfa y gynnadledd uchod yn Dolgellau, ar y 22ain o Orphenaf diweddaf. Cynnrychiolwyd pedair o gangenau, yn cynnwys 11 o henuriaid, 5 o offeiriaid, ac 1 athraw; wedi eu bedyddio, 13; y cyfan yn 58. E. EDWARDS, *Llywydd*.

### SIR GAERFYRDDIN.

Yr ail gymmanfa yn Sir Gaerfyrddin a gynnaliwyd yn y Farchnadfa, yn Nghaerfyrddin, ar y 22ain o Orphenaf. Wedi i'r llywydd agor y gymmanfa, a gadael i Wm. Hughes anerch y dorf, galwodd am gynnrychioliad y gynnadledd, yr hon a gynnwysai 12 o gangenau (heb gyfrif y cangenau a drosglwyddwyd i ofal Alfred Clark), yn cynnwys 48 o henuriaid, 29 o offeiriaid, 27 o athrawon, a 12 o ddiaconiaid; bedyddiwyd er y gymmanfa ddiweddaf, 64; y cyfanswm, 492. Galwyd amryw swyddogion, y rhai a ordeiniwyd yn gyhoeddus ar yr esgynlawr, yr hyn a barai gryn syndod i lawer o'r gwrandawwyr. Areithiwyd yn y gwahanol gyfarfodydd, yn Gymraeg a Saesneg, gan y brodyr Thos. Pugh, Wm. Hughes, David Jeremy, David Davies, Wm. Jones, Ephraim Rowlands, &c. Yr oedd lliaws mawr o wrandawwyr, a'r oll yn foneddigaidd ac astud. Talwyd diolch i Faer y dref, a boneddigion ereill, am eu caredigrwydd y waith hon etto.

H. WILLIAMS, *Llywydd*.

## NEWYDDION O COUNCIL BLUFFS.

HYSBYSIR ni yn y *Star*, fod yr Hen. George A. Smith yn ysgrifeni o'r Council Bluffs, dan y dyddiad o Fai 28ain, yn rhoddi ar ddeall fod y cwmpeini Cymreig o Saint wedi cyrhaedd yno ar y 17eg. Dywed eu bod wedi dyoddef yn enbyd oddiwrth y Cholera wrth fyned ar hyd afon Missouri. Arosa y rhan fwyaf o'r cwmni hwnw yn y Bluffs, er gwneyd parotoiadau i dderbyn yr ymfudiadau Cymreig o hyn allan. Ymddengys wrth yr hanes uchod fod amryw o honynt wedi marw o'r Cholera sydd mor ddychrynllyd ar yr afon hono. Heblaw hyny, gwelsom mewn *Star* arall, yn gymmysg ag enwau Seisnig, yr enwau Cymreig canlynol:—Eliza Davies, William Owen, Lettice Orman, Eleanor Owen, Nathaniel Ames a'i wraig, a William Owen. Bu y rhai hyna farw ar afon Missouri, ac y mae rhai o'r Saint yma yn eu hadnabod yn dda, er nad ydym ein hunain.

Digon tebyg fod llawer o'n darllenwyr, fel ninnau, yn synu paham y mae llythyr mor hir yn dyfod oddiwrth Capt. D. Jones, pan ag yr ydym wedi gweled tri llythyr a ddaeth at rai o'r Saint yn Merthyr, y rhai a hysbysant eu bod wedi tirio yno, a bod y lleill yn myned rhag eu blaen. Desgrifiant Council Bluffs yn le wrth eu bodd, ac annogant eu perthynasau i barotoi i'w canlyn. Dyna i gyd sydd genym ni i ddweyd yn bresennol; a phan dderbyniwn ychwaneg, caiff ein darllenwyr glywed.

---

## AMRYWIAETHAU.

INC.—Inc yw y Môr Du, yn yr hwn y mae'r meddwl yn teithio wrth angor.

LLWYDDIANT Y SECTARIAID.—Mae llwyddiant y sectariaid yn ymddibynu yn benaf ar gael digon o ofn a dychryn yn eu plith; oblegid y mae'r holl wlad braidd yn eu credu o'u mabandod, a mwy nâ'u hanner wedi eu bedyddio er yn blant. Mae y digrefydd yn gymmaint o sectariaid â neb, ac yn agos mor selog; a'r unig beth sydd yn eisieu tuag at gael llwyddiant enwadyddol, yw bwgwth y rhai hyny â thân neu golera, ac yna deuant yn lluoedd at y crefyddau hyny sydd yn taro eu blas oreu.

YMDDYGIAD ANNOETH.—Mae yn annoethineb mawr mewn swyddog o Eglwys Iesu Grist, beth bynag, i godi ar ei draed i ddysgu ar ol un a fyddo uwch mewn swydd, yn enwedig os bydd ar yr un pwnc. Os na fydd ganddo rywbeth newydd i hysbysu, rhodded yr amser i arall a'i defnyddio yn well.

GEULAN Y BYD.

Gwybydded dyn, er lleted yw y byd,
Ei fod ef ar ei geulan lawer pryd.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 9.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. I.] MEDI, 1849. [PRIS 2g.

## CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1849.

☞ Pa beth a wnawn o'r darnau meithion o Brydyddiaeth a dderbyniwn bob mis? A wnawn ni eu gludo wrth eu gilydd i gyrhaedd y lleuad, neu eu difa yn annhrugarog yn y tân? Carem foddloni pawb, ond gwelwn anmhosiblrwydd i foddloni holl feibion yr awen. Mae yn rhaid iddynt ymfoddloni i'w tynghed, neu ddyfod yn olygwyr eu hunain. Nid am fod un yn dweyd ei fod yn dderbyniwr cysson, arall ei fod yn cael gair da i'w waith, a'r trydydd mai y chwyth gyntaf yw,—yr ydys yn eu cymmeradwyo, ond o herwydd teilyngdod arall. Mae dau neu dri phennill llawn meddwl, yn well nâ chant o bennillion y geiriau llanw; ac o ganlyniad, ymdreched ein brodyr gyfansoddi yn well, yn fyrach, ac ar dônau amgenach nâ "Lili lonau" y baledwyr; gan gofio hefyd, mai nid prydyddiaeth yw pob peth sydd yn odli.

"A. E."—Diolchwn iddo am ddanfon atom y llyfryn a elwir "Cyfeiliornadau a Dichellion Saint y Dyddiau Diweddaf a Llyfr Mormon." Mae yn ddyledswydd ar bawb i'n cynnorthwyo fel hyn i gael gafael ar bob peth a gyhoeddir yn ein herbyn, fel ag y gallom amddiffyn os bydd achos. Er hyny, nid yw y llyfryn dan sylw yn werth ei adolygu, oblegid na chynnwysa ddim na atebwyd yn barod.

"T. T."—Os yw y brawd yn parhau i bregethu pethau uwchlaw ei amgyffred, megys y milflwydddiant, yr adgyfodiad, &c, yn groes i bob cynghor, amddifader ef o'i swydd ar frys. Nid yw fod Capt. Jones neu W. Phillips yn trafod pethau felly, yn un rheswm iddo yntau wneyd hyny. Nid Ysbryd Duw sydd yn ei arwain i'r fath hunanoldeb.

"P. T--s."—Anweddaidd hollol yw arfer geiriau isel yn y cynghor, a phob lle arall, yn neillduol wrth ymdrin â phethau Duw. Mae sirioldeb yn beth o'r goreu; ond gwareder ni rhag y cyfryw sydd yn dyfod i leoedd o'r fath yn unig er mwyn creu digrifwch, a dal ar eiriau neu wrthwynebu.

"Ioan."—Ysgrifenwch yn fwy cynnwysfawr. Gellid cynnwys sylwedd eich traethawd ar Brofedigaethau, mewn llai o eiriau o'r hanner. Yr ydym yn awyddus am gynnorthwy rhywrai a allant ysgrifenu yn gynnwysfawr a byr, heb fod achos i ni ail-foldio eu hysgrifau, canys y mae hyny yr un fath ag ysgrifenu ein hunain.

"J. S."—Diolchwn iddo am ddanfon stamp, yn ol ein dymuniad, ond buasai yn well genym pe buasai ei stamp heb fod ar lythyr yn flaenorol. Mae genym ddigon o rai felly ar law yn wastad, ac ni phetrusem roddi cant o honynt am geiniog, os gwnant ryw les i rywun.

☞ Na dderbynier neb o Lloegr, a lleoedd pellenig, mewn un Gynnadledd, cyn caffo'r cyfryw lythyr argraffedig gan Brif Gynghor Cymru.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 9.] MEDI, 1849. [CYF. I.

### DADLEUON.

Y MAE llawer o bersonau yn awyddus iawn i ymddadleu, ac etto heb dalentau na galluoedd i drin unrhyw bwnc, nac ychwaith yn canfod dim pan fyddo eu rhesymau yn cael eu dymchwelyd. Ceir rhai yn dadleu er mwyn gwrthwynebu, ac ereill er mwyn cael enw mawr; tra nad oes ond ychydig yn dadleu er mwyn cael allan y gwirionedd. "Cyndyn ddadleu dynion llygredig eu meddwl," nid ydyw dda i ddim, o herwydd nad yw "y gwirionedd ganddynt," a chan y tybiant mai elw yw duwioldeb." Mae yn well "cilio oddiwrth y cyfryw;" canys nid ydynt ond yn "anmhwyllo ynghylch cwestiynau, ac amryson ynghylch geiriau; o'r rhai y mae cenfigen, ymryson, cableddau, drwg-dybiau, yn dyfod." Ysbryd y byd sydd yn arwain i ddadleuon; a'r achos o fod llawer o Saint ieuainc mor dueddol i ddadleu yw, eu bod heb ymwrthod digon ag ysbryd y byd. Deuant yn raddol, trwy wrandaw ar lais eu bugeiliaid, i ymbwyllo, ac i weled y niwed o ymddadleu. Mae y Saint hefyd â'u golwg ar y swyddogion; ac os gwelant y rhai hyny yn hoffi dadleuon, deuant hwythau i hoffi yr un peth. Fel peth cyffredinol, cynghorem swyddogion pob canghen i ochel dadleuon, oddieithr trwy ganiatâd llywyddion y cynnadleddau. Y mae llawer o ddynion llygredig a gwrthgilwyr yn rhy isel eu cymmeriadau, i'r Saint wneuthur un sylw o honynt; na choledder dim arnynt, ond gadawer hwynt fel pethau o'r neilldu, i ymborthi ar eu ffolineb. Danfon ei weision i bregethu yr efengyl y mae Duw, ac i dystiolaethu am y gwirionedd, ac nid i ymddadleu â

dynion llygredig a drwg; am hyny, bydded yr holl swyddogion yn weision call a gostyngedig ac yn ddiniwed fel colomenod, gan sefyll yn daer dros y gwirionedd pan fyddo amgylchiadau yn galw, ond gan ochel dadleuon gwag a chenfigenus. Boed i bob peth gael ei gario yn mlaen mewn trefn a doethineb, ac yn ol cynghor y rhai a fyddo yn edrychol dros y swyddogion; ac yna bydd iddynt lwyddo a chynnyddu.

---

## A OES PWYS YN Y PETH A DDYSGIR?

ANWYL FRAWD DAVIS,—Yr wyf yn gweled llawer o bethau yn eich UDGORN, ag y mae yn anghenrheidiol i'r Saint i'w gwneuthur er eu perffeithiad. Yr wyf yn ystyried yr hyn a ddywedir gan weision Duw, mewn ysgrifen neu ryw ffordd arall, yn anghenrheidiol i'w gyflawni, fel y byddo eu hymdrechiadau i gael eu coroni â llwyddiant, trwy fod y cyfryw a ddysgir yn gwneyd yn ol yr hyn a ddysgir, beth bynag fyddo'r ddysgeidiaeth. Ni ddylai y teimladau fod yn rheol mewn dim â berthyna i'n perffeithiad; o herwydd wrth ddylyn teimladau, gallwn groesi y rheol â osodwyd i ni yn ddeddf, a'r canlyniad o hyny fydd, bod yn droseddwyr yn erbyn y ddeddf. Nid wyf yn meddwl ychwaith y dylau sêl, ac ymarferiadau, a chydwybodolrwydd, i fod yn rheol; o herwydd fod y pethau hyn, yn orphwysedig ar y wybodaeth sydd yn meddiant y dyn; ac os bydd gwybodaeth yn ddrwg, yr hyn a wneir yn ol y wybodaeth, sydd yn ddrwg hefyd. Nid yw fod dyn yn gwneuthur yn gydwybodol, yn profi fod yr hyn a weithredir ganddo yn dda; o herwydd fod cydwybodaeth yn ymddibynu ar wybodaeth. Yn awr, yr hyn wyf yn ystyried sydd i fod yn rheol, ac yn unig reol, yw y gyfraith, yr hon sydd i'n hyfforddi, a'n cynghori, a'n ceryddu, a'n dysgu, yn y pethau sydd yn anghenrheidiol er ein perffeithiad; ac yn ol fel y byddom yn gwneuthur fel ein dysgir yn y gyfraith, y byddwn yn gydwybodol.

Hefyd, yr hwn sydd yn cymmeryd y gyfraith yn rheol, y mae yn anmhosibl i hwnw fod yn gydwybodol, pan na fyddo yn gwneyd yr hyn a ddysgir iddo yn y gyfraith; a lle byddo dyn yn gwneuthur rhywbeth yn groes i'r gyfraith, y mae y dyn hwnw yn gyfryw sydd â chydwybod euog yn ei feddiant, er efallai na chaiff oddef y gosp haeddiannol am y trosedd. Nid yw fod dyn yn dianc rhag cael ei gospi, yn rhyddhau ei gydwybod; yr unig

beth a ryddha y gydwybod, yw cyfiawnder y gyfraith a drosedda y dyn. Hefyd, yr wyf yn meddwl fod y cyfryw a ddysg y gyfraith i'r deiliaid, yn gyfryw ag a berchir gan y rhai a gyflawno y gyfraith a ddysgir iddynt; ac mae y cyfryw hyn yn rai sydd â chydwybod rydd; ac hefyd yn gyfryw ag sydd mewn undeb, tangnefedd, a chariad, â'r brenin, â'r swyddogion, ac hefyd â chyfiawnder y gyfraith: tra o'r ochr arall, y mae yr hwn sydd heb gyflawni yr hyn a ddysgir iddo (pan yn gallu), yn gyfryw sydd â chasineb at y gyfraith. Prawf hyna trwy beidio gwneyd yr hyn a ddysgir iddo. Hefyd, y mae yn anmhosibl i neb a fyddo yn gas ganddo y gyfraith, heb fod yn gas ganddynt awdwr y gyfraith hefyd, ynghyd â'r swyddogion a ddysgo y gyfraith; ac o ganlyniad, nid yw yn garwr cyfiawnder, nac mewn undeb â'r Brenin; ac am hyny, ni ddylai y cyfryw ddysgwyl i'r llywodraeth ei amddiffyn, pan na fyddo yn cyflawni y gyfraith. Hefyd, mae y gyfraith yn gyfraith, nid i'r deiliaid yn unig, ond hefyd i'r swyddogion a'r Brenin; o herwydd y gyfraith sydd yn dysgu trefn yn yr holl lywodraeth, ac mewn trefn y mae gogoniant a harddwch, o'r Brenin i'r deiliaid, a thrwy yr holl lywodraeth. Hefyd, y swyddogion yw y rhai a ddysga ac a weinydda yn y gyfraith; ac y mae cyssylltiad rhwng y naill ddysgeidiaeth a'r llall, a'r naill weinyddiad a'r llall; o herwydd fod y gyfraith yn berffaith yn eu holl gyssylltiadau, i ateb pawb yn eu gwahanol amgylchiadau a'u sefyllfaoedd, o'r Brenin i waered i'r deiliaid. Ac hefyd, y mae pob dysgeidiaeth i ateb ei dyben ei hunan; ac oni ateba ei dyben, yna y mae y ddysgeidiaeth yn ofer; a'r un fath, oni ateba y gweinyddiadau eu dybenion, yna y maent yn ofer i gyd. Hefyd, os yw dysgedigaethau a gweinyddiadau yn anghenrheidiol er perffeithiad, undeb, a nerth, oni ddylai y swyddogion fod yn berffeithiach, ac mewn mwy o undeb, na neb o'r deiliaid, o herwydd bod anghen mwy o nerth arnynt: o ganlyniad, os yw y cymhwysderau hyn yn anghenrheidiol er perffeithiad, undeb, a nerth, ar y swyddogion, onid yw yn anghenrheidiol fod y swyddogion yn gyfryw a ddylent gyflawni y dysgedigaethau yn gyntaf, fel y byddont mewn undeb i allu dysgu ereill, a bod yn ufydd i weinyddiadau eu hunain, fel y byddont yn weinidogion cymhwys i ddysgu ereill, ac nid gweinidogion cam. Y mae esiampl yn gryfach na gair, medd diareb. Y mae nerth, a thaerineb swyddogion i gymhell y deiliaid i gadw y dysgedigaethau a roddir iddynt, yn ymddibynu ar eu bod hwy yn eu cadw yn gyntaf. Y

mae esiampl yn beth anghenrheidiol i'w rhoddi. Nid dysgeidiaeth ynddi ei hunan sydd yn rhoddi nerth, ond gwneyd yn ol y ddysgeidiaeth: yn gyssylltiedig â gwneyd y mae Duw yn bendithio. Y mae cynghor Duw i'w gyflawni (nid i'w gredu), yn y modd y dyweda. Y mae cynghor i Dduw â nerth Duw ynddo. Y mae cynghor Duw yn gyfryw ag a wna ddynion yn droseddwyr wrth ei ddiystyru. Y mae cynghor gwas i Dduw yn gyfryw, os gwna dynion ei ddiystyru, ag a'u gwna yn droseddwyr, o herwydd fod nerth Duw ynddo; a'r hwn sydd yn gynghor â nerth Duw ynddo, sydd gynghor Duw. Bedydd sydd gynghor Duw; y mae dynion i'w gyflawni, ac y mae bendith yn gyssylltiedig â'r ufydd dod. Casgliad i Galifornia sydd gynghor Duw: y mae pob cynghor o eiddo Duw ag anghenrheidrwydd am ei gyflawni, y naill gynghor fel y llall. Y mae dynion, trwy beidio cymmeryd eu bedyddio, yn diystyru cynghor Duw. Casgliad at y deml sydd gynghor Duw; a'r hwn a'i gwrthwynebo sydd yn diystyru y cynghor (os gall ei gyflawni). A'r hyn sydd yn nerthu swyddogion i gymhell rhai i gael eu bedyddio, yw eu bod hwy wedi eu bedyddio; yr hyn sydd yn gynnorthwy i ddweyd wrth ddynion am ddyfod i Seion, yw eu bod hwy yn myned. Yr hyn sydd yn esiampl dda i ddysgu dynion i gyfranu at y deml, yw eu bod hwy yn cyfranu, neu yn ymdrechu at hyny; o herwydd ei fod yn gynghor Duw, a thrwy gyflawni cynghor Duw y mae gwneuthur ei ewyllys ef. "Nid yw tybaco yn dda i'r corff nac i'r bol, ac nid yw dda i ddyn." Hyn etto sydd gynghor Duw; a'r hwn a'i diystyro sydd yn troseddu, o herwydd nid yw dda: o ganlyniad y mae yn ddwg, ac y mae pob drwg yn bechod, ac y mae pob pechod yn anghyfraith; a'r hwn sydd yn droseddwr y gyfraith sydd yn erbyn y brenin, ac o ganlyniad nid yw yn bosibl fod undeb rhyngddo a'r swyddogion. Tybaco nid yw dda i'r corff nac i'r bol, ond y mae yn felldith i'r corff a'r bol; o herwydd pan fyddo dyn yn dechreu ysmocio neu gnoi dybaco, y mae yn gwrthwynebu ei gyfansoddiad gymmaint, nes y mae ei holl gorff yn crynu ac yn gwanhau, ac yn rhy feddw i sefyll ar ei draed, a'i goluddion, yn ol ei dyb ef, yn troi yn y gwrthwyneb. Nid yw yn dda, ynte, ond y mae yn felldith yn erbyn y cyfansoddiad; a pha fodd y gall dim fod yn felldith yn erbyn y cyfansoddiad, heb fod yn bechod yn erbyn Duw. Nid yw dda, ynte. Y mae tybaco hefyd yn niweidiol i'r cylla, o herwydd fod y dyn yn sychu y ffynnonau poer sydd yn ei enau; a'r canlyniad o hyny yw, fod y

bwyd yn aros mwy na'i amser yn y cylla, trwy ei fod yn poeri y dwfr sydd i dreulio y bwyd yn y cylla; a'r cylla, yn mhen amser, o herwydd ei fod yn gorfod cadw y bwyd yno yn hwy nâ'i amser, yn magu afiechyd, diffyg anadl, a pheswch, a gwendid; ac wedi i'r afiechyd hyn eu gorddiwes, taflant y bai ar yr awyr ddrwg yn y gwaith mwyn a'r gwaith glo, pan mai y gwir achos yw y dybaco. Nid yw yn dda i'r bol, medd Duw. Hefyd, y mae rhai yn ysmocio tybaco gymmaint â gwerth saith ceiniog yr wythnos, pan y maent yn methu rhoddi ceiniog yr wythnos at deml Dduw yn Seion: hyn sydd ddrwg, ac nid llai na phechod. Hefyd, ysmocia Saint ddybaco, pan fyddo y tŷ heb un tamaid o enllyn, a'r plant yn noethion eu traed, ac yn anwydog o'r achos, ac efallai yn myned i dwymyn, a rhai yn marw. Nid yw dda i'r corff, ynte. Hefyd, y mae'r rhai ag sydd yn euog o'r pethau hyn, yn gyfryw ag sydd yn dyfod i ymofyn am henuriaid yr eglwys i osod dwylaw arnynt, a gweddio ar i Dduw eu bendithio ag iechyd, pan y maent hwy yn achoswyr o'r afiechyd. Nid yw dybaco, ynte, yn dda i ddyn; dyna yw y cynghor; a phwy bynag na weithredo yn ol y cynghor, y mae yn ymddwyn yn annoeth; canys y mae cynghor i'w gyflawni; a'i gyflawni a gaffo, yw dymuniad

CARWR CADW CYNGHOR.

[Gorfodwyd ni i dalfyru llawer ar ddiwedd llythyr ein gohebydd, ynghylch y dybaco, o herwydd ei feithder, ac am ein bod wedi ysgrifenu mor helaeth ar y pwnc ein hunain. Nid oes braidd neb o'r Saint nad ydynt wedi eu hargyhoeddi o niwed y dybaco; yr unig bwnc i'w benderfynu o hyn allan yw, pa un ai Mr. Blys, neu gynghor Duw, sydd i'w hufyddhau. Mae yn achos o lawenydd i ni ein bod wedi perswadio llawer o Saint i adael y dybaco heibio, a gwrandaw ar gynghor Duw.—GOL.]

---

## EPISTOL Y DEUDDEG AT Y LLYWYDD O. PRATT, A'R EGLWYS YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG.

YN ychwanegol at yr "Epistol Cyffredinol Cyntaf oddiwrth y Brif Lywyddiaeth," y mae yr epistol uchod newydd ddyfod i'n dwylaw. Mae ei gynnwysiad, y rhan fwyaf, yn debyg i'r llall; ac o ganlyniad, ni wnawn yn bresennol ond dyfynu o hono yr hyn a ystyriwn yn fwyaf dyddorawl. Yn mhlith pethau ereill, ysgrifenant am yr ymfudiad fel y canlyn:—

"Dymunwn wasgu ar feddyliau y Saint yn yr Ynysoedd Prydeinig am ffyddlondeb mewn cadw gorchymynion Iesu Grist, mewn gweddi a ffydd, mewn cariad, ac mewn pregethu a thaenu gwybod-

aeth o gyflawnder yr efengyl ar led. Annogwn hwynt i amynedd ynghylch yr ymgasgliad, hyd nes y byddo'r ffordd yn agor i'w dwyn hwy a ninnau yn amser Duw ei hun, yn ei ffordd ei hun, ac yn ol y dull a ysgrifenwyd; efallai y gwawria y dydd pan y gallant ddyfod yn rhwyddach, rhatach, a diogelach na dyfod ar hyd y ffordd bresennol.

"Yn ol yr hyn sydd wedi ei ysgrifenu at y Saint, bydded iddynt drefnu eu hunain yn gwmnïoedd yn ol eu crefftau, a dyfod allan gyda'u gilydd â pheiriannau, offerynau, a defnyddiau at bob math o gelfyddydau, yn ol fel ag y byddont wedi ymarfer; a phan y byddont yn dyfod fel arall y maent yn fynych mewn eisieu o waith, yn agored i gwmnïaeth ddrwg, i ddylanwad gwrthgilwyr, hudolwyr, meddwdod, diofalwch, &c.; ac ychydig o'r rhai hyny sydd yn cyrhaedd cyfangorff yr eglwys mewn cystal ysbrydoedd â phan y cychwynasant; mae rhai yn troi yn ol, ereill yn cael eu dystrywio, llawer yn cael eu harwain ymaith, ac ychydig sydd yn cael eu casglu a'u hachub. Ni ddylai y pethau hyn fod.

"Os, ar ol cyrhaedd adnabyddiaeth gyflawnach o'r wlad, y gallwn gael allan ffordd i fyny yr Arkansas, neu y Rio Grand, gwnawn ochelyd y gauaf, ynghyd â'r gwrthgilwyr a'r Cenedloedd sydd yn heidio yn New Orleans, St. Louis, a Missouri Uchaf; neu os gallwn ddyfod o hyd i ryw borthladd cyfleus wrth ben cainc fôr California, neu rywle yn y Môr Tawel, a chael ffordd gyfleus yn groes i rai o wddf-diroedd America Canolbarthol, efallai y bydd i hyny rwyddhau yr ymfudiad o Ewrop i'r dyffrynoedd hyn.

"Pe gallai cwmnïoedd o wneuthurwyr offerynau miniog, llestri pridd, gwlaneni, neu ryw bethau defnyddiol ereill, ddyfod allan gyda'u gilydd, a digon o fodd a medr ganddynt i sefydlu eu gwahanol weithfeydd yma, gallent gael cynnaliaeth dda, yr hon a fyddai yn dra ennillfawr, yn fwyaf neillduol o herwydd fod digon o ddwfr i weithio y peiriannau, heb gynnorthwy agerdd. Mae hon yn wlad ragorol i gynnyrchu defaid a gwlan; a gwna hyn, mewn cyssylltiad â'r digonedd dwfr, sicrhau llwyddiant unrhyw gyflawnder o weithfeydd gwlan, tra bydd y boblogaeth gynnyddol yn creu galwad mawr am eu nwyddau. Gobeithiwn weled yr amser yn fuan pan fydd y diriogaeth hon yn troi allan y defnyddiau tecaf, harddaf, a mwyaf da o bob math a weithir yn awr yn Lloegr.

"Pan y gwelom Saint Ewrop yn dyfod yn y dull hwn, yn barod i ymdrechu gyda'u gilydd, ac i sefydlu gweithfeydd, heb oedi a syrthio ymaith ar y ffordd, bydd yn llonhau ein calonau i'w gweled yn dyfod wrth y miloedd, megys colomenod yn heidio i'w ffenestri; ond y mae yn ein gofidio i'w gweled yn dyfod un ar y tro, yn analluog i sefydlu gwaith iddynt eu hunain, a'u gweled yn cael eu tynu i bob rhwyd gan ddynion drygionus, y rhai a gymmerant fantais ar eu tlodi, a phan yn cymmeryd arnynt roddi gwaith iddynt yn y gwahanol ddinasoedd, yn eu harwain i bob drygioni, meddwdod, celwydd, ac anlladrwydd, ac yn y diwedd llwyddo ganddynt i wadu yr Arglwydd a'u prynodd, ac i fyw neu farw yn nghanol drygioni; ac felly nid ydynt byth yn cyrhaedd

y Saint, neu os cyrhaeddant nid yr un bobl fyddant â phan cyn cychwyn. Yn wir, buasai yn well o lawer i rai felly aros mewn cangenau da yn yr Ynysoedd Prydeinig ac addoli Duw, na chychwyn tua gwlad Seion, a byw a marw yn yr uffernau crefyddgaledu hyny yn y Taleithiau."

---

## LLYTHYR ODDIWRTH Y CENADWR CYMREIG YN FFRAINC AT J. DAVIS.

*St. Servan, Llydaw, Medi* 10, 1849.

Anwyl Frawd Davis,—Derbyniais lythyr ddoe oddiwrth fy nheulu, yn cynnwys hanes dymunol am ei sefyllfa gysurus mewn ystyr dymmorol ac ysbrydol. Y mae mawr ddaioni Duw tuag at fy nheulu yn ystod yr ychydig fisoedd ag yr wyf wedi bod yn absennol oddiwrthynt, yn gwneyd i'm hysbryd i lawenhau yn Nuw fy Iachawdwr. Yn y llythyr, dymunasoch arnaf ysgrifenu ychydig o'm helynt, ynghyd â mawr ddaioni Duw i'w was yn mhlith dyeithriaid mewn gwlad estronol. Hyfryd genyf fydd gwneuthur hyn, yn Ebenezer o fawl i Immanuel sydd wedi bod gyda mi yn mhob sefyllfa ac amgylchiad yn iachawdwriaeth.

Wrth chwilio ychydig o gofnodiadau y llyfr dyddiol ("d'ue maniere memorable"), yr wyf yn canfod "un registre" am fedyddiad brawd ar y 30ain o Fehefin, yn gwneyd yr oll a fedyddiais yn Nghymru, mewn ychydig o fisoedd, yn 110! ac wrth syllu arnynt yn nghyfarfod y Saint y Sabboth diweddaf (Gorph. 1) cyn ymadael, yr oeddwn yn gweled rhai yn henuriaid, ereill yn offeiriaid, ereill yn ddysgawdwyr, ac ereill yn ddiaconiaid; rhai â'r ddawn iachâu mor ffyddiog, fel ag yr oeddynt yn medru tystio fod Duw, trwy yr ordinhad, wedi eu hiachâu bob tro yr ymosododd afiechyd arnynt; ereill ag ysbryd y brophwydoliaeth yn dadguddio pethau rhyfedd i'r eglwys; ereill yn llefaru â thafodau newyddion, ac ereill yn cyfieithu; rhai o honynt yn canu trwy yr Ysbryd yn bur nefolaidd, ac wedi hyny yn canu â'r deall, nes gwneyd awen y beirdd yn ail beth i ogoniant mawl ysbrydoliaeth y Goruchaf, a hyny o enau plant bychain. Yr oedd yr olygfa, ynghyd â'r ystyriaeth mai y ddiweddaf oedd i mi am beth amser, yn creu ynwyf deimladau annesgrifiadwy. Yn y dyddiadur yr wyf yn canfod yr ysgrifen ganlynol o'm heiddo:—"July 2. Last day before starting on a mission to France; oh, how hard to part with a beloved wife and little children, and leave them in the midst of persecuting enemies—leave her and her young family to

be provided for from a business that calls for the presence of a person who understands the nature of such an occupation—leave them in the midst of the plague that is reigning with deadly arrows next door on the right and left, &c. But God commands me to go! his servants command me to go!" Wedi ymadael â'r teulu ar foreu y 3ydd o Orphenaf, cyrhaeddais Abertawy yn gysurus; a chysgais yn yr un tŷ ag y gorphwysodd fy anwyl dad yn yr efengyl, Capt. D. Jones. Cychwynais dranoeth yn yr un agerdd-long ag y cychwynodd yntau ynddi tua Llerpwl, a'r brodyr ar eu taith tua Seion yn ystlysau y gogledd. Yr oedd sugniad fy mryd innau tuag yno; ond yr oedd mynegfys fy nghenadiaeth yn fy nghyfeirio yn groes! Nid i Seion yn awr, ond i wlad y Pabyddion, â'r arfogaeth ysbrydol, i frwydro wrthynt dy hun; a rhyw lais dystaw yn dweyd, Nac ofna, braidd bychan, wele yr wyf fi gyda thi. Pan y canfyddais golofnau muriau un o brif drefydd marsiandïaeth Babilon (sef Llerpwl), yr oedd teimladau dwys yn fy meddiannu wrth feddwl fy mod yn nesâu at y dref, yr heol, y tŷ, a'r ystafell ag oedd yn cynnwys trigfa un o Apostolion Eglwys Iesu Grist, Saint y Dyddiau Diweddaf. Nid yn rhwydd yr anghofiaf yr hyfrydwch a deimlais yn nghwmni y dyn da hwn, sef Orson Pratt, ynghyd â'r ddysgeidiaeth nefolaidd a gefais. O ran maintioli, a phryd a gwedd, y mae yn debyg iawn i'n hanwyl frawd Wm. Phillips; ac o ran dull ei darawiad, fel y gwronaidd frawd a nodais. Y mae fy nghalon yn llamu o lawenydd yn awr, wrth feddwl fod y fath ddau yn iau yr Iesu, yn blaenori y dewrion lu sydd yn Nghymru a Lloegr.

Wedi teithio mewn ychydig o ddyddiau tuag wyth cant o filltiroedd, cyrhaeddais boreu dydd Llun, y 9fed, "droit de rivage" (glan-for) Ffrainc, a chefais olygfa hardd ar dref Havre, yn cynnwys tua 60,000 o drigolion, o fil i ddwy fil o lestri yn ei phorthladd, hanner cant o ba rai yn anferthol fawr o America, cyfandir Ephraim. Er fod rhyw fath o gyfraith wedi ei gwneyd gan y Ffrancod, yn cynnwys *toleration*, etto, yn ol ystyr y gair gan Walker, y mae yn groes i'w dymuniad. "Toleration—allowance given to that which is not *approved*." Ni chaniateir, heb berygl, i gasglu cynnulleidfa ynghyd, na phregethu ar y Square, Place, Piere, &c., lle mae miloedd yn ymgasglu ynghyd i gerdded, eistedd, a difyru eu hunain mewn chwareuaeth, mewn llawer dull a modd. Y mae perygl dosparthu y traethawd lleiaf, os bydd ynddo rywbeth yn erbyn eu duwies; ond diengais yn Havre, serch dosparthu

yn ystod y mis y bum yno, tua 1500 o draethodau yn y Ffrengaeg a'r Saesnaeg, Voice of Warning, Spencer's Letters, Llyfr Mormon, &c. Cefais y fraint o fedyddio un dyn ieuanc ag oedd yn fedrus yn yr iaith Ffrengig, Italaidd, Creolaidd, Seisnig, ac Yspaenaidd; ac y mae argoelion da am gael bedyddio ereill, ac yn eu plith weinidog un o'r eglwysi, &c.

Ar y 3ydd o Awst, cychwynais o'r dref i ymweled â'm teulu yn Nghymru. Mae yn debyg fod cenadon Duw yn y dyddiau diweddaf i deithio yn gyflym; felly y bu y tro hwn, beth bynag. Yn gynhar boreu dydd Gwener, y gadawodd yr agerddlong oror Ffrainc; ac wedi tirio yn Southampton (dros gant o filltiroedd), aethum gyda'r agerdd-gerbyd i Salisbury, oddiyno gyda'r cerbyd i Bath, yna gyda'r agerdd-gerbyd i Bristau, ac oddiyno gyda'r agerddlong i Gaerdyf erbyn deg, prydnawn yr un diwrnod, ac adref yn Aberdar erbyn unarddeg boreu dranoeth. O, mor hyfryd oedd gweled gwynebau serchus, a mwynhau cwmpeini ugeiniau o Saint Aberdar, mewn cyfarfod nefolaidd o amgylch bwrdd yr Arglwydd am ddau, prydnawn y Sabboth. Y mae'r gangen hon yn parhau mewn llewyrch a llwyddiant rhyfeddol, mewn undeb a chariad â'u gilydd, yn ymdrechu ddydd a nos gyda'u hanwyl lywydd, Joseph Davies, i blanu yr egwyddorion dwyfol yn mhob bron trwy'r lle. Ar foreu Sabboth, y 19eg o Awst, am bump o'r gloch, cefais y fraint o fedyddio boneddwr ar ei dir ei hun, a'i gadarnhau yn aelod o eglwys Iesu Grist; y mae yn ddyn ieuanc hardd, gwybodus, ag a wna waith mawr, gobeithiaf, dros ei Dduw. Aethum gyda'r agerdd-gerbyd i bregethu am unarddeg yn Nghaerdyf, ac yn yr hwyr am chwech yn Saesneg. Pregethodd y brawd J. Phillips, Pontytypridd, yn gampus, yn Gymraeg, i gynnulleidfa syml, yn gwrandaw yn astud. Cefais garedigrwydd mawr gyda'r holl Saint, yn neillduol gan y brawd Ellis. Cychwynais o Gaerdyf boreu dydd Llun, a chyrhaeddais Ynys Jersey boreu dydd Mawrth. Aethum yn yr hwyr gyda'r brawd Dunbar, y llywydd, i'r wlad tua phedair milltir, i bregethu; pregethodd y brawd teilwng De la Mere yn y Ffrengaeg; ac wedi i'r cyfarfod ddybenu, bedyddiwyd pedwar yn y môr. Nos dranoeth, aethum gyda'r brawd Dunbar i St. Ablans; wedi'r cwrdd, aeth pump i waered i'r dwfr. Un a argyhoeddwyd trwy ddarllen un o'r traethodau Ffrengig a argraffwyd yn Merthyr. Yr oeddwn wedi anrhegu y brawd Dunbar â 400 o'r traethodau Ffrengig, a mawr y daioni y maent yn ei wneyd. Mewn un man yn agor lle i bregethu;

mewn man arall yn dwyn rhai i chwilio yn mhellach am y gwirionedd yn y cyrddau pregethu, &c. Prydnawn dydd Iau, pregethais i dorf o'r Jersiaid yn Saesneg. Yr oedd yn rhyfedd genyf, canys dwy flynedd yn ol y pregethais i eglwys y Bedyddwyr yma, ar gais ei gweinidog, yr hwn, gofidus oedd genyf glywed, sydd newydd ddod o'r carchar! Ar ol y cyfarfod, rhoddodd chwech eu henwau i gael eu bedyddio nos y fory. Cyrhaeddais St. Malo, yn Ffrainc, prydnawn dydd Gwener. Yr wyf oddiar hyny yn aros yn St. Servan, tref yn ymyl St. Malo. Yr wyf wedi ymweled á hanner cant o deuluoedd boneddig Seisnig, â'r traethodau. Y mae genyf eisoes yn y lle hwn ffryndiau caredig; da i mi yw hyny, canys y mae yma gynddaredd yn erbyn ein crefydd anwyl, fel sydd yna. Mae holl weinidogion y Protestaniaid, ynghyd ag offeiriaid yr eglwys Babaidd, a'u holl aelodau, yn uno fel un llaw a chalon i erlid y "gau-brophwyd," yn ol eu hiaith hwy. Gorfu i mi fyned at y consul Seisnig boreu dydd Sadwrn am gynghor, oblegid fod yr erlidigaeth yn frwd! Pregethais nos Sul i deulu boneddig, yn eu *drawing room*. Yr oedd yn bresennol weinidog ieuanc sydd yn pregethu yn y Ffrengaeg yn St. Malo; cafodd ei foddloni, ac addawodd dreulio prydnawn y Sabboth nesaf etto yn fy nghwmni.

Afreidiol i mi yw crefu am ran yn ngweddiau y Saint ar ran eu brawd mewn gwlad estronol; ond yn hytrach diolchaf iddynt am eu parchus gof am danaf wrth orsedd gweddi yn barhaus. Taled yr Arglwydd iddynt, trwy fy ngalluogi i yru y newydd iddynt fod llu yn dechreu dyfod i mewn i'r deyrnas.

Yr eiddoch oll yn Nghrist,

WM. HOWELLS.

---

## YMOGELWCH RHAG Y GAU-SEINTIAU.

LLAWER sydd yn yr oes hon, fel yn y dyddiau gynt, ar ol gweled y Saint yn lliosogi, yn ymrithio i'w plith, i'r dyben o fyw yn segur ar eu cefnau: rhag y cyfryw ymogelwch. Ymdeithiant o un man i'r llall, gan gymmeryd arnynt eu bod yn llawn cariad a ffyddlondeb; ymarferant weddiau llawn o dôn sectaraidd, a thystiolaethant yn gadarnach nâ neb, nes ennill serchiadau llawer o Saint ieuainc i roddi llawer o gynnorthwyon iddynt. Dywedant lawer o ystoriau anwireddus yn mhob ardal yr ymwelant â hi, megys fod y pregethwr hwn, neu y boneddig arall, wedi eu bed-

yddio gan y Saint; a thrwy hyny dynu eu sylw oddiwrth yr ymchwiliad a ddylent wneyd i achos pob un a ddelo heibio iddynt. Yr ydym wedi gweled llawer o hyn ein hunain, ac wedi dal y gau seintiau yn eu rhagrith amryw droion. Bu un o'r enw David Morris heibio yma yn ddiweddar, yn llon'd ei groen o gariad, ac yn beirianydd o Llanelli, Sir Gaerfyrddin, meddai efe. Deallasom ei fod wedi bod unwaith gyda'r Saint, ond iddo gael ei dori allan am fyned ormod ar hyd tai. Llwyddodd yn y cymmydogaethau hyn, trwy ddiffyg gwyliadwriaeth yn mhlith y Saint, i fyw ar eu caredigrwydd am gryn amser. Nid yw y cyfryw yn perthyn i ni, ac na wneler derbyniad o hono mwyach; a threied y Saint ieuainc i ystyried nad yw pawb sydd yn galw eu hunain yn Saint, yn rhwym o fod yn onest. Megys yr oedd ar y cyntaf, y mae yn parhau yr awr hon. Ysgrifena brawd o Dowlais atom i'n hysbysu ei fod ef wedi dyfod i ddeall fod amryw yn ysgrifenu llythyron o gymmeradwyaeth eu hunain, ac yn myned oddiamgylch y Saint, i ysbïo eu rhyddid hwynt, ac i fyw ar eu cefnau. Crybwylla am un ag oedd ar fedr myned i mewn i gyfarfod y Saint yn Dowlais yn ddiweddar; yr hwn a dystiai iddo gael myned i mewn i gangen Nantyglo ychydig cyn hyny; a dywedai y mynai efe fyned i'w plith yn rhywle eilwaith, serch ysgrifenu papyr i'r pwpas hyny.

Wedi myned o'n cyd-ddynion mor felldigedig a chyfrwys ag i ysgrifenu llythyron o gymmeradwyaeth iddynt eu hunain, gallant fyned yn y blaen â'u twyll i raddau mawr, os na ellir gosod atalfa arnynt yn fuan. Yr ydym wedi bod yn ceisio dyfeisio y ffordd oreu at hyny, ac wedi meddwl mai llythyron argraffedig yn mhlith y Saint, yn unig fydd yn dyrysu eu hamcanion. I'r perwyl hyny, yr ydym wedi argraffu nifer digonol o lythyron cymmeradwyaeth i ddiwallu pob cangen dros yr amser presennol; a bydd i lywydd pob cangen i gadw nifer ar law yn wastad i werthu am ddimai yr un i bob un fyddo yn cael caniatâd i ymweled â Saint ereill, neu i fyned i aros yn eu plith. Wrth eu danfon at lywyddion y cynnadleddau, gwnawn ni lanw un i bob llywydd, fel y gallo efe ddysgu llywydd pob cangen pa fodd i'w hysgrifenu. Gwna y llythyr y tro i swyddog, yn gystal ag i aelod, trwy enwi hyny ynddo; a bydd yr ysgrifen i hysbysu pa le y mae pob un yn cael myned, a dros pa faint o amser, fel na bydd neb yn cael myned lle y myno heb ganiatâd. Gwaith pob llywydd a'i gynghorwyr fydd gofalu o hyn allan, na fyddo neb yn

cael ei dderbyn ganddynt, heb y llythyr argraffedig dan sylw. Pob un a fyddo yn symud i gynnadledd arall, bydd yn ofynol i lywydd y gynnadledd arwyddo y llythyr hefyd, gyda llywydd y gangen. Bydd elw i'r llywyddion yn y gwerthiad, gogyfer â'r trafferth y maent yn myned iddo. Bydded i hyn gael ei osod mewn gweithrediad uniongyrchol, fel na fyddo i'n hanwyl frodyr a'n chwiorydd gael dyoddef dim yn ychwaneg oddiwrth ddyeithriaid. Nid ofn sydd arnom y gwelant ein "twyll" ni, ond ofn sydd arnom y gwelwn ni eu "twyll" hwy, a hyny pan yn rhy ddiweddar

Yr ydym wedi gweled hefyd fod un peth arall yn anghenrheidiol arnom fel enwad, er cael pob peth yn rheolaidd ac mewn trefn. Hyd yn hyn, nid oes un o bob deg o'r Saint yn gwybod pa bryd eu bedyddiwyd, na pha bryd eu cadarnhawyd, ac y mae llawer un na wyddant pwy fu yn gweinyddu arnynt. Y maent oll yn bethau ag a fydd etto eisieu eu gwybod, fel llawer o bethau ereill. I ateb y diffyg hwn etto, yr ydym wedi argraffu papyr arall, i'w werthu am yr un bris i'r bedyddiedigion, gan y swyddwyr fyddo yn eu bedyddio, y rhai sydd i ysgrifenu eu henwau, eu hoedran, y dydd o'r mis y bedyddiwyd, ac yn mha gangen, yna arwyddo y papyr, a'i roi i'r bedyddiedig, fel y gallo hwnw ei ddangos i lywydd neu ysrifenydd y gangen cyn cael ei gadarnhau. Yn yr amser y byddis yn cadarnhau, bydd i'r ysgrifenydd lanw y gweddill gwaglo fydd ar y papyr, trwy nodi enw y gangen, a'r gynnadledd, dydd o'r mis, ac enw y swyddog fyddo yn cadarnhau; yna, wedi i lywydd y gangen arwyddo y cyfan, cyflwyner y papyr yn ol i'r aelod newydd, i'w gadw yn goffadwriaeth iddo ei hun. Hefyd, bydded i'r ysgrifenydd gadw cyfrif o'r cyfan, er ei osod ar lyfr yr eglwys, yr hwn a ddaw yn barod mor gynted ag y gallwn gael arian i'w gyhoeddi. Llanwn gopi i bob llywydd cynnadledd o'r papyr hwn hefyd; ac wedi i'r holl ganghenau eu cael, nid oes neb i gael ei dderbyn i'r eglwys trwy osodiad dwylaw, ond y sawl fyddo â phapyr ganddo. Meddyliwn fod hyna yn ddigon o esboniad i'n darllenwyr, a gobeithiwn y gwelant y llesâd a ddeillia trwy y trefniadau hyn.

---

## CANU.

Y MAE canu yn beth ag sydd yn perthyn i blant Duw yn mhob oes o'r byd, yn neillduol pan fwynhant esmwythdra oddiwrth erlidigaethau, &c., megys Moses a meibion Israel gynt, pan wedi

cael eu gwaredu gan yr Arglwydd trwy y môr coch rhag llid yr Aifftiaid, yn canu cân o foliant i'r Arglwydd am ei ryfeddol ddaioni tuag atynt. Yr oedd canu yn beth hyfryd iawn gan Dduw, ac o ganlyniad yn hyfryd gan ei weision; ac nid rhyw enw o ganu a wnelai y tro; O na, yr oedd yn rhaid cael canu rheolaidd; ac i'r dyben hyny yr oeddynt yn neillduo blaenor yn y gynnulleidfa ac ereill i'w gynnorthwyo. Er prawf o hyny, gwel 1 Chron. xvi, lle y cawn fod Dafydd yn aberthu; ac wedi iddo ophen aberthu, &c., darfu iddo osod deuddeg o ddynion i foliannu Duw trwy ganu, ac Asaph oedd y penaf, neu y llywydd ar y deuddeg hyn; ac wedi i bobpeth gael ei osod yn rheolaidd, rhoddodd Dafydd orchymmyn, gan ddywedyd, "Cenwch iddo, clodforwch ef, ymadroddwch am ei holl ryfeddodau, &c." Heblaw fod genym lawer o esiamplau fod ein hen dadau yn canu, megys Esaiah v, 1,—"Canaf yr awr hon i'm banwylyd, ganiad fy anwylyd am ei winllan, &c.," ac hefyd Paul a Silas yn canu mawl i Dduw, er yn y carchar, a llawer o rai ereill; ac y mae genym gynghorion ac annogaethau sydd wedi eu rhoddi gan yr ysgrifenwyr ysbrydoledig yn yr Hen Destament a'r Newydd, megys yn Salm. c, 1,—"Cenwch yn llafar i'r Arglwydd, yr holl ddaear." Esaiah xlix, 13,—"Cenwch, nefoedd; a gorfoledda, ddaear; bloeddiwch ganu, &c. Eph. v, 19,—"Gan lefaru wrth eu gilydd mewn salmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol; gan ganu a phyncio yn eich calon i'r Arglwydd." Iago v, 13,—"A'r hwn sydd yn esmwyth arno, caned salmau."

Yn awr, anwyl frodyr a chwiorydd, gwelwn os oedd yn ddyledswydd ac yn beth hyfryd gan ein hen dadau i ganu moliant i Dduw am y rhyfeddodau a'r gwaredigaethau a gawsent, pa faint mwy y dylem ni ganu, y rhai ydym wedi cael ein gwaredu o'r dudew dywyllwch, yn yr hwn y buom amser hir, i oleuni efengyl Crist, a'r llyffetheiriau traddodiadol ag oedd am danom wedi cael eu hymlid ffwrdd, a ninnau wedi dyfod i ryddid meibion Duw, a chenym wybodaeth o ddwyfoldeb ein crefydd, ac o'n cymmeradwyaeth gerbron Duw. A phan y byddom yn meddwl am y goleuni ydym wedi ei gael, a'r caddug o dywyllwch ydym wedi bod ynddo, pwy sant na fydd foddlawn i roddi benthyg ei dafod i ganu cân o foliant i Dduw, am ei ddaioni a'i ryfeddodau yn ein plith yn barhaus.

Hefyd, cymmerwn esiampl oddiwrth y drefn oedd gan ein hen dadau, er cael yr rhan hon o'r addoliad mewn trefn, sef trwy neill-

duo blaenoriaid at hyny. Gan hyny, bydded i bawb o'r Saint i ymdrechu o blaid canu; ac nis gellir ymdrechu digon heb ysgol gân, ac nis gellir cynnal ysgol gân heb i'r Saint ddod at eu gilydd i'r dyben hyny. Na fydded i neb daflu y ddyledswydd hon ar arall, rhag i'r arall hwnw ei thflu ar ei gymmydog, a thrwy hyny bydd pawb heb ddysgu, a'r canlyniad fydd, canu annhrefnus. Ymdreched pawb, ynte, o blaid canu, fel y byddo'r hyn a ganwn yma yn flaenffrwyth o'r hyfryd ganu fydd draw yn Seion.

*Tre Sior.* T. Harries.

[Bwriadem ysgrifenu ar y pwnc hwn ein hunain, ond yn awr gwna ein cymmeradwyaeth o'r sylwadau blaenorol y tro yn lle hyny. Gobeithiwn yr edrycha y llywyddion ar fod canu da yn eu cangenau, a bod llywydd a chynghorwyr yn cael eu dewis i'w flaenori. Da fyddai i bawb o'r cantorion hefyd i ddilyn eu blaenoriaid, ac nid boddi pawb â'u swn, fel nas clywant neb ond eu hunain.—Gol.]

---

## ANERCHIAD I'N RHESWM.

Fy anwyl gyfeillion, mae genyf gynghorion
I'w cynnyg yn dirion yn awr os rhowch glyw;
Cynghorion neillduol row'd gan Paul apostol,
I ddynion rhesymol, trwy ysbryd ei Dduw.

Gwnewch brofi'r holl bethau a f'och yn eu hammau,
Trwy rym eich rhesymau, a deliwch y gwir;
Gwirionedd sy'n wastad yn destun ymchwiliad,
A phenaf ddymuniad pob calon sydd bur.

Nid credu rhyw dybiau, nad oes iddynt seiliau,
Ond profi trwy ffeithiau â'n rheswm ein hun:
Fel hyn caem wybodaeth brofiadol o bob-peth,
A gwir yr athrawiaeth feddiannai pob un.

Ond pofion a ffeithiau, a'r holl ysgrythyrau,
A ddylem yn ddiau eu credu bob darn;
Ac oni wnawn hyny, bydd rhaid rhoddi cyfri',
A goddef ein cospi pan elwir i'r farn.

Ein poenau fydd enbyd, heb obaith ymwared
Nes talu y ddyled, bob ffyrling i gyd;
Y gelyn pryd hyny, ymdrecha i'n cospi,
Hyd eithaf ei allu, mewn digter a llid.

Gan hyny, gyfeillion, na chredwch y deillion
Sy'n arwain dyscyblion, heb wybod i ble:
Hwy roddant yn seiliau eu hen draddodiadau,
Ac hwyrach a 'fallai, i'ch arwain i'r ne'.

Y pena'i ddysgeidiaeth a wada wybodaeth
Sydd trwy ysbrydoliaeth, ac haerant yn gro's:
Fy hynaws wrandawwyr, defnyddiwch eich synwyr,
Rhag bod yn ganlynwyr i adar y nos.

Hwy dd'wedant yn eo'n, nad yw yr arwyddion
Yn canlyn plant Seion, na neb 'n eu mwynhau;
Chwychwi sydd â synwyr, a gredwch chwi'r 'sgrythyr,
'Rhyn brofa yn eglur eu bod yn parhau?

Os rhai'n a ddarfyddodd, y ddaear a'r nefoedd
A aethant o'u lleoedd, medd Iesu i ni;
Mae hyn yn beth hynod i'r c'nauaf i ddarfod,
A'r gweddill ond cysgod o'r pethau a fu.

Yn oes y cyn-seintiau yr Ysbryd a weithiai,
Tystiolaeth a roddai i bob un o'i blant:
Yn awr, mai mor oleu, medd gwyr y colegau,
Fel nad oes eu eisiau, a'r Ysbryd aeth bant.

Pan fyddo goleuni yr haul yn llewyrchu,
Y lleuad sydd bygddu i deulu y llawr;
Ac felly'r colegau sydd heiliau yn ddiau,
A'r Ysbryd g'wilyddiai gwel'd goleu mor fawr.

'Rholl bethau mewn natur wrth nodau adwaenir,
A'r rhei'ny yn eglur yr un yn parhau:
Gan fod yr athrawon yn gwadu'r arwyddion,
Mae hyny yn brofion o'u crefydd yn gau.

Os darfu gwybodaeth, a dawn prophwydoliaeth,
A newydd dafodiaith, pa fodd ewch i'r nef?
Eich Duw sydd yn teithio, neu 'fallai yn huno;
Mae eisiau ei ddeffro,—dyrchefwch eich llef.

At eich ystyriaethau rho'f hyn o linellau;
Eich synwyr fo'n oleu, heb orchudd na llen:
Yn iach, i chwi canaf, ac nid ymhelaethaf,
Ac felly terfynaf trwy dd'wedyd, Amen.

*Dowlais.* DAVID THOMAS.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH CAPT. JONES AT Y LLYWYDD WILLIAM PHILLIPS.

*Gwlad yr Indiaid Ouraha, Gorph.* 13, 1849.

ANWYL FRAWD PHILLIPS,—Ar frys, a chyn braidd yr agora un ci ei safn yn y gwersyll, yr achubaf y cyfle boreuol hwn, i anfon atoch ychydig linellau. Nid oes amser i bortreiadu yr olygfa o'm hamgylch, nac i ragymadroddi; canys y mae y *Muskitoes* yn brathu, yr haul yn mron codi, a minnau yn dysgwyl galwad i gychwyn gyda 50 o wageni i'r eigion gorllewinol, allan o ororau eithafol pob gwlad wareiddiol, i blith pobl gochion y goedwig.

Y mae Wm. Morgans a William Davies o Rymni, wedi ein dilyn hyd yma, ar fy nymuniad, fel y gallant hwy eich hysbysu o'n hynt yn fanylach, yr hyn ni chaniatâ amser a gorchwylion i mi ei wneuthur yn awr: ac nid wyf y tro hwn am ond dweyd wrthych, gwnewch fel y cyfarwyddant hwy trwy lythyr; canys cefais gyfle i siarad â hwy lawer nad allaf ei ysgrifeni yn awr. Sefydlais ran o'r cwmni Cymreig a ddaeth yma yn Council Bluffs, a changen eglwysig Gymreig, a Wm. Morgans yn Llywydd. Prif ddyben hyn yw, fel y bo'nt barod yn y canol-bwynt hwn i dderbyn, croesawi, a chyfarwyddo y cyfryw o'n cenedl anwyl a ddelo ar ein hol. Eithr manylant hwy ar fanteision y wlad, a'r Cymry arosedig yn y rhan hwn o honi; yn unig dywedaf, caniatewch i'r cyfryw o'r Saint a ewyllysio, ac a feddyliwch yn oreu, i ddod hyd yma mor gynted ag y gallont; a'r rhai nad allant gyrhaedd hyd ddyffryn y mynyddoedd, a allant ddod hyd y wlad hyfryd hon, ac ennill digon yn fuan i'w cynnorthwyo y gweddill o'r daith.

Y mae o honom ni y Cymry 24 o bedrolfeini llwythog yn myned yn y blaen yn awr, ac wedi dod oddeutu 18 milltir ar ein taith yn llwyddiannus; cewch eu henwau gan Wm. Morgans.

Mae pob newyddion yn dda o Seion. Cewch y Newyddiadur a gyhoeddir yma hefyd gan William Morgans.

Wrth y Saint anwyl yn Nghymru y dywedaf, Byddwch ffyddlawn yn yr alwedigaeth â'r hon y'ch galwyd o dywyllwch i oleuni y Jubili; brysiwch ar ein hol i adeiladu Seion; deued un, deued oll, yn ol cyfarwyddiadau eich llywyddion, allan o Babilon, o ganol heintiau a chlefydau, rhyfeloedd a chyflafan byd trancedig, i ryddid plant Seion—i ddiddosfan y gwaredigion. Gellir cyrhaedd yma ar y gost a nodais yn y "Prophwyd," sef o £6 i £7 yr un dros 14 oed; a gellir yma ennill yn fuan gymhorth i fyned yn mlaen, yr hyn ni ellir ennill yn Nghymru mewn hir yspaid ond odid.

Mae pawb o'r cwmni yma wrth eu bodd, ac yn mawr ewyllysio weled eu perthynasau, &c., yn eu dilyn yn fuan. Cyrhaeddodd fy anwyl wraig a'm baban yma yn iach ychydig ddyddiau yn ol, ac mewn pryd i fyned yn mlaen gyda ni. Gwnaeth y Cholera gryn alanastra yn ein byddin fach ni ar hyd yr afonydd, yn enwedig ar ddyfroedd melldithiol y Missouri; etto, ychydig mewn cymhariaeth i'w ddylanwad ar bobl ereill ar hyd y badau a'r trefydd cylchynol. Manyla W. Morgans pwy a aeth yn ysglyf-

aeth iddo; gobeithiaf na bydd mwy cyfartalwch o'r Saint yna, yn ei grafangau. Cewch cryn gysur yn darllen y llythyr dyddorol a dderbyniais yn ddiweddar oddiwrth Parley P. Pratt, o'r Dyffryn, a'r hwn a anfonaf i'r brawd Davis i'w gyhoeddi.

Y rhai a ddymunant ysgrifenu at eu cyfeillion ag sydd yn myned i California, a gyfarwyddant fel hyn:— "——— ———, care of Capt. Jones, Great Salt Lake City." Rhoddant y llythyr mewn *envelope*, a chyfarwyddant i "Mr. Orson Pratt, 15, Wilton Street, Liverpool," yr hwn a'u cyfarwydda yn y blaen heb gost, ond y llythyr-doll.

Anerchwch fi yn wresog at y brawd John Davis ac Abel Evans; byddwch un, rhowch eich hysgwyddau fel un o dan yr "arch"—at holl lywyddion y Cynnadleddoedd, a'r swyddwyr oll; frodyr anwyl, hiraeth sydd yn curo dan fy mron am eich cwmni, am eich llais yn y cynghor a'r gynnulleidfa, a'm gobaith yw syllu yn eich wyneb llon cyn hir, a'ch lluoedd gyda chwi, yn Seion wiw. Ein Duw Dad a brysuro y dedwydd ddydd i ben, yw'm taer weddi yn barhaus.

Cofiwch fi yn garedig at yr holl Saint anwyl. Eich lles, eich llwyddiant, a'ch gorfoledd amserol a thragwyddol, yw gwir awydd calon

Eich gostyngedig was yn efengyl Crist,

D. JONES.

D.S.—Dysgwyliais lawer i glywed a anturiodd fy anwyl frawd Wm. Howells ar ei genadiaeth etto. Duw Israel a'i llwyddo. Y mae fy iechyd yn cynnyddu yn raddol, er fod fy llais yn cael ei gadw yn gryg o hyd;—mor anhawdd tewi, a chymmaint i'w ddweyd. D. J.

---

## LLYTHYR CAPT. D. JONES AT J. DAVIS.

A GANLYN sydd ddyfyniad o lythyr cyfrinachol Capt. Jones atom ni:—

"Gwnewch eich goreu i werthu fy llyfrau a adewais, ac anfonwch yr arian gweddill gyda rhyw frawd ffyddlawn a arweina y cwmni nesaf a ddaw hyd yma. Diau y byddant yn ddefnyddiol iawn erbyn hyny er cynnal fy nheulu, fel y gallwyf aberthu fy amser i wasanaethu y Saint, ac efallai, i chwilio am yr Indiaid Cymreig. Dymunaf ran yn ngweddiau yr holl Saint anwyl am ffyniant yn hyn, ac fel y galluoger fi i fod fwyfwy o lesâd i'm cenedl, nad pwy wlad y byddaf.

"Ffarwel yn awr, anwyl frawd; Arglwydd Dduw Israel a'ch

benditbio ac a'ch gwisgo ag ysbryd eich galwedigaeth, fel y goleuoch eich cyd-genedl, ac yr udganoch â'ch "UDGORN" nes yr adleisia anferth greigiau Cymru alwad ar ei thrigolion ar frys i Seion. Eich brawd, &c.

"D. JONES."

Gobeithio na fydd achos cymhell llawer ar ein brodyr er gwneuthur eu goreu tuag at hwylusu ein hanwyl fugail yn ei amcanion daionus: bydd ei lais byw, hyderwn, yn ddigonol gynhyrfiad iddynt. Y fath gannoedd o Saint ieuainc sydd wedi dyfod i'r eglwys, ac etto heb gael cynnyg ar y llyfrau gwerthfawr a adawwyd dan ein gofal. Ni ddylai fod neb sydd yn medru darllen, fod heb gopi o bob peth sydd yn cael ei gyhoeddi; ac ni ddylai neb fod yn analluog i ddarlien, tra y gall hebgor gymmaint â hanner awr yn y dydd i ddysgu.

---

## YR YMFUDIAD CYMREIG NESAF.

MYNYCH y gofynir i ni pa bryd y bydd yr ymfudiad nesaf; ac yn awr gallwn eu hateb mewn rhan, y bydd tua dechreu y flwyddyn nesaf. Bydd y llythyr canlynol oddiwrth yr Apostol O. Pratt, yn ddigon o awgrym i'r Saint sydd yn meddwl ymfudo, ac yn cael cynghor i hyny, i ymbarotôi ar fyrder:—

"15, Wilton Street, Llerpwl, Medi 12, 1849.

"Anwyl Frawd Davis,—Cafodd eich llythyr yn anffortenus ei esgeuluso hyd y prydnawn hwn, ac yn awr yr wyf yn cydnabod ei dderbyniad. Mewn atebiad i'ch gofyniadau ynghylch ymfudo, fy nghynghor yw y byddai dechreu mis Ionawr, '50, yn gystal amser i'r Saint Cymreig i ymfudo ag un tymmor o'r flwyddyn, ac yn well nâ rhai rhanau o honi. Pe byddai i chwi gael cwmpeini yn barod, dymunwn arnoch i gymmeryd yr enwau, yr oedran, a'r rhag-daloedd, heb anghofio enwau ac oedran babanod; ac wedi i chwi gael oddeutu 200 o enwau, heb gyfrif babanod, danfonwch hwynt i mi, a'r rhag-daloedd trwy ryw ariandy cyfrifol, os na ddewiswch ddyfod eich hunan. Beth bynag, rhaid i'r enwau a'r rhag-daloedd gyrhaedd yma bump neu chwech wythnos, o leiaf, cyn hwyliad y llestr, fel y gallwyf fi wneyd pob parotoiadau angenrheidiol er llogi y llong, &c. * * * Cyflwynwch fy nghariad gwresocaf i'r holl Saint, a dywedwch fy mod yn cael fy moddloni yn fawr yn eu ffyddlondeb a'u daioni, pan wedi eu hamgylchynu gan ddrygioni, heintiau, &c.; a chyhyd ag y byddont hwy yn parhau i gadw gorchymynion yr Arglwydd, ni chaiff y dinystrydd ond ychydig o ddylanwad arnynt; tra o'r ochr arall, y caiff y rhai hyny nad ydynt yn gweithredu cyfiawnder nac yn sofio am y cyfammodau a wnaethant o flaen yr Arglwydd, eu

hysgubo ymaith gyda'r rhai hyny nad ydynt ac ni fynant adnabod ffordd iachawdwriaeth.

"Yr eiddoch yn wirioneddol,
"ORSON PRATT."

Nis gallwn roddi nemawr o gyfarwyddiadau yn ein rhifyn presennol ynghylch yr ymfudiad, o herwydd ein bod yn dysgwyl gwybodaeth helaethach oddiwrth y Cymry yn Council Bluffs, ac o herwydd hefyd bod y brawd Phillips yn absennol. Er hyny geill y Saint gasglu llawer o wybodaeth yn y rhifyn hwn, ac yn yr Epistol a gyhoeddasom ddechreu y mis, heblaw yr helaethrwydd sydd yn rhifynau olaf y PROPHWYD; ac ychwanegwn etto gymmaint â hyn, y bydd yn ofynol i bawb fyddo yn myned â thlodion ganddynt, i ofalu am eu cynnaliaeth yr holl ffordd hyd oni fyddont yn abl i gynnal eu hunain, fel na byddont yn cael eu taflu yn faich ar ereill. Cwyna yr Apostol Hyde yn y "Frontier Guardian" fod rhai wedi ymddwyn felly yn Council Bluffs, a rhybyddia bawb na oddefir hyny yn mhellach.

Bydded i bob un sydd yn bwriadu ymfudo, roddi ei enw a'i bunt i'w hanfon i ni trwy lywydd ei gynnadledd, yr hwn sydd i gymmeradwyo pob un cyn y gwnawn ni dderbyniad o hono.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### CYNNADLEDD SIR FYNWY.

CYNNALIWYD y gynnadledd uchod yn neuadd Pen-y-brenin, Tredegar, ar y 22ain o Orphenaf, 1849. Cynnrychiolwyd 18 o gangenau, y rhai a gynnwysent 55 o henuriaid, 19 o offeiriaid, 28 o athrawon, 21 o ddiaconiaid; bedyddiwyd oddiar y gynnadledd flaenorol, sef Ebrill 8fed, 115; cyfanswm, 586. Rheoleiddiwyd dwy o gangenau newyddion, a galwyd amryw i swyddi. Cafwyd y neuadd yn orlawn o Saint a gwrandawwyr; y cyfarfodydd yn fywiog, a'r genadwri yn rymus. Yn mhlith ereill o frodyr lawer, cawsom yr hyfrydwch o glywed y llywydd William Phillips, a'i gynghorydd Davis, yn annerch y cyfarfod, nes yr oeddem yn meddwl fod seiliau y tywyllwch yn crynu.

THOMAS GILES, *Llywydd*
DAVID JONES, *Ysgrifenydd.*

### CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG.

Cynnaliwyd Cymmanfa Chwarterol y gynnadledd uchod yn y Trades' Hall, Heol Fawr, Abertawy, ar yr ail o Fedi presennol. Ymgyfarfuwyd am ddeg yn y boreu, pryd y galwodd y llywydd am gynnrychioliad y cangenau, y rhai a gafwyd yn 14 mewn rhifedi, yn cynnwys 46 o henuriaid, 30 o offeiriaid, 23 o athrawon, a 15 ddiaconiaid; wedi eu bedyddio er y gynnadledd o'r

blaen, 165; y cyfanswm yn 448. Yna anerchwyd y gynnulleidfa gan lywydd Cymru, yr hwn a roddodd gynghorion dwys i'r swyddogion i ymwadu â hwy eu hunain, gan ddangos y drygedd y mae hunanoldeb yn ei wneyd i'r eglwys. Wedi hyny, anerchodd John Morris, sir Benfro, y dorf yn Seisneg yn dra phwrpasol. Yn y prydnawn ac am chwech, cymmerwyd rhan yn y cyfarfodydd gan y Llywydd Phillips, H. Williams, John Morris, Wm. Sims. ac ereill. Cafwyd cymmanfa dda, a rhagorach nag o'r blaen. Yr oedd y lle yn orlawn, a'r gwrandawwyr yn astud a boneddigaidd.

THOMAS PUGH, *Llywydd.*
D. WILLIAMS, *Ysgrifenydd.*

---

## AMRYWIAETHAU.

DARLLEN.—Y dyn nad yw yn medru darllen yn y dyddiau hyn, a ellir ystyried yn ddyn ffol; ond y dyn sydd â gormod cywilydd arno i ddyfod i'r ysgol i ddysgu, a ellir ystyried yn ddyn ffolach.—T. H.

YR AFON.—Gwahoddai un o'r Saint rhyw hen grefyddwr i ymuno â hwynt, gan addaw y cawsai dderbyn gwybodaeth o'r gwirionedd, yn ol yr addewid. "O," ebe yntau, "bydd yn ddigon cynnar i mi gael gwybodaeth yn yr afon." "Bydd, ac yn bytrach yn rhy gynnar," meddai y Sant; "canys wedi dyfod o'r afon y cefais i y wybodaeth." "Afon angeu oeddwn i yn feddwl," meddai yntau. "O," ebe'r Sant, "nid wyf fi wedi gweled hono, na neb sydd wedi bod ynddi; ac felly yr wyf yn anwybodus yn ei chylch."—T. H.

FFOLINEB un dyn sydd yn cyfoethogi dyn arall; ac nid oes neb yn llwyddo yn ddisymwth, ond trwy gamymddygiadau ereill.

PA uchaf y byddo dyn mewn awdurdod, mwyaf i gyd y dylai ei rinwedd fod. Dywedai Cyrus, "Ni ddylai neb lywodraethu, oni fyddant yn well nâ'r rhai a lywodraethir."

### FFYDD UN O'R BEDYDDWYR.

"Mae'm ffydd yn wan, 'run wana' erioed;
Nid oes o wanach hon yn bod:
A chan mor lleied yw ei grym,
'Rwy'n credu'n wir 'does genyf ddim."

### GŴN HIR.

"Nid yw eich gŵn yn ddigon hir,"
Medd mam wrth ferch synwyrgall;
"Mae'n wir—ond bydd yn eithaf hir,
Cyn rhoddwch chwi un arall."

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 10.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI, (SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. I.] HYDREF, 1849. [PRIS 2g.

## CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1849.

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

Y LLYFR EGLWYS.—Dysgwyliwn y bydd rhai copiau o'r llyfr hwn yn barod yn mhen mis neu ddau. Bwriadem unwaith ei argraffu yn Lloegr, gan feddwl y gallem ei gyhoeddi yn rhatach; ond erbyn cael atebion oddiyno, cawsom ein siomi yn fawr; a'r canlyniad fu, i ni ddyfeisio ei argraffu ein hunain, yr hyn a'i gwna yn rhatach o amryw sylltau, ac yn gwbl mor olygus. Gallwn sicrhau na fydd ei bris dros ddeg swllt, ond nis gallwn ddweyd a fydd yn rhatach ai pheidio, o herwydd ei fod heb ei orphen. Mae Llyfr Eglwys yr enwadau yn werth punt, er fod mwy o hwn wedi ei argraffu, nag a fydd o alwad am Lyfr y Saint. Bydd yn cynnwys 200 o dudalenau, a phob dalen yn mesur oddeutu 15 mod. wrth 9½. Cynnwysa le i ysgrifenu hanes y Gangen, a'r dygwyddiadau hynotaf a fu ynddi, ynghyd â hanes gwelliadau, bendithiad plant, &c. Bydd y Rhagymadrodd yn egluro pob peth perthynol iddo, fel na fydd achos i neb gamsynied. Hyderwn y bydd yr holl Gangenau yn barod i dalu am dano wrth ei gael, gan fod gwaith mor gostfawr yn gofyn am dal ddiattreg.

YR YMFUDIAD NESAF.—Dymunwn annog pawb sy'n penderfynu ymfudo yn Ionawr nesaf, i barotôi ar frys, a danfon eu henwau, eu hoedran, a'u rhagdaloedd i ni yn ddioed, fel y byddo ein brawd O. Pratt yn cael y cyfan mewn amser. Y rhai nad oes arian ganddynt i fyned yn mhellach na Council Bluffs, a allant ennill digon yno yn fuan i'w cludo i ben eu taith. Mae y llythyron a welsom oddiyno yn rhoddi darluniad neillduol o dda am y lle, ac yn gwahodd pawb i ymdrechu cyrhaedd hyd yno, fel y gallont ymgyfoethogi tuag at y gweddill o'r daith, yr hyn ni allant wneyd yn Mhrydain.

Y CHOLERA.—Mae yn dda genym, er mwyn ein cyd-ddynion, fod Duw megys yn attal ei law farnol am ychydig. Nid oes nemawr i un yn marw yn bresennol yn Merthyr, ac y mae amryw ddyddiau wedi pasio nad oes cyfrif am neb.

"T. D."—Mae amrywiol o lyfrau ein brawd Jones, heblaw yr "Hen Grefydd Newydd," allan o brint yn bresenol, ac nis gellir eu cael am un arian; gallwn enwi "Yr Atebydd," "Gau-brophwydi," "Beth yw'r Efengyl?" &c. Dyna fydd y gân am lyfrau ereill maes o law; am hyny gwnaed pawb frys. Nid ateba ail-argraffiad o honynt, nes y caffom ddigon o brynwyr i'n digolledu.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 10.] HYDREF, 1849. [CYF. I.

### Y FFORDD LYDAN A'R FFORDD GUL.

AR hyd y ffordd lydan a'r ffordd gul y mae dynolryw yn teithio i fyd arall. Llawer yw y rhai sydd yn dewis y ffordd lydan, ac ychydig yw y rhai sydd yn dewis y ffordd gul. Y ffordd i ddystryw ydyw un, a'r ffordd i fywyd ydyw y llall. Lluniwyd y ffordd lydan gan ddiafol, a'r ffordd gul gan Dduw. Teithir y ffordd lydan, o herwydd fod Satan yn perswadio ei theithwyr ei bod yn arwain i fywyd, ac am ei bod yn rhwyddach i'w cherdded nâ'r llall. Ni ŵyr neb, pan yn teithio y ffordd i ddystryw, yn awr fwy nâ chynt, nad teithio i fywyd y maent, ac nad hono yw y ffordd gul. Mae y ffordd gul yn guddiedig i bawb, ond y rhai hyny sydd yn ei theithio; ac am hyny, nid rhyfedd fod cymmaint yn gwneuthur camsyniad yn ei chylch. Eir i mewn i bob un o'r ffyrdd hyn trwy ryw fath o byrth; y mae'r porth i'r ffordd lydan yn eang, a'r porth i'r ffordd gul yn gyfyng. Edrycha y porth eang yn gul i'r rhai sydd yn myned i mewn trwyddo, o herwydd na welsant y porth cyfyng. Mae pawb yn cael mynediad trwy borth y ffordd lydan ar eu hammodau eu hunain; ond uwchben porth y ffordd gul y mae yn ysgrifenedig, "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, oddieithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn:" dyna y rheswm nad oes ond ychydig yn myned i mewn trwyddo. Nid yw y porth hwn yn agor i neb, ond i'r sawl sydd yn ufyddhau i'r geiriau sydd uwch ei ben; tra mae y porth arall yn agor wrth ewyllys pawb. Dim ond dweyd yn y porth llydan eich bod am fyned i deyrnas nefoedd, ac yna

sewch fyned yn union, a dewis y cerbyd goreu i deithio ar ffordd nad oes un sicrwydd pa le y mae yn arwain, nes y byddir ar ben y daith. Y mae miloedd wedi ei hadnabod ar ol ei theithio i ben, ac wedi adnabod mai ffordd i ddystryw ydyw, ond yn rhy ddiweddar. Nid felly y mae ar y ffordd gul; canys y mae teithwyr hono yn ei hadnabod yn dda, o herwydd eu bod yn derbyn yr Ysbryd Glân yn arweinydd iddynt, yr hwn sydd yn rhoddi sicrwydd iddynt bob cam ar hyd y ffordd, mai ffordd ydyw i fywyd. Mae y cysuron a dderbynia teithwyr y ffordd gul yn lliosog iawn, ac nid oes dim yn debyg iddynt ar y ffordd arall. Ffordd angbyfnewidiol ydyw ffordd Duw, er ei bod yn un gul; parha yr un geiriau uwchben y porth tra fydd yno fynedfa i'r gostyngedig; ac y mae yr un bendithion wrth ei theithio yn cael eu cyfranu i bawb yn mhob oes, hyd nes y trafaelio yr olaf ar hyd-ddi i fywyd. O! ffordd ardderchog! Paham y cymmera y byd ei dwyllo gan ddiafol mewn oes mor oleu? Ai nid yw efe wedi dyfod i ddeall yn amgenach etto am ffordd y bywyd? Ai dysgwyl y mae dyn i bydd Satan rywbryd yn addef mai ffordd i ddystryw yw ei ffordd grefyddol ef? Os dysgwyl y mae, dysgwylia yn ofer; canys nid yw Satan wedi ei ddiwallu o ddeiliaid etto, ac ni ddiwallir ef dro yehwaith. Mae y ffordd gul ar y ddaear—y ffordd gul i fywyd; pwy sydd am ei cherdded? Os oes rhywun, geill adnabod ei phorth wrth y geiriau sydd uwchben iddo, sef geiriau Arglwydd y bywyd. Aeth efe ei hunan i mewn yno, ac am hyny aed ei holl greaduriaid ar ei ol.

---

## ARAETH CAPT. JONES MEWN GWYL DE.

Tangnefedd, Cariad, ac Undeb, yw'r arwydd-eiriau sydd yn argraffedig uwchben ein gwledd; tri o'r pethau hyfrytaf a mwyaf dymunol ar y ddaear. Gwyn fyd na fyddai y ddaear oll yn eu mwynhau, fel eu mwynheir yn y cwmpeini hwn heddyw. Henffych i'r dedwydd ddydd pan y bydd holl hil Gomer, ïe yr hil ddynol, yn mwynhau y tangnefedd a welir yma, a'r fath gariad ac undeb a welir yn y wledd hon. Llanwed y ddaear fel y toa y dyfroedd y môr, a fyddo arwyddair a dymuniad pob gwladgarwr sydd ynddi.

Ond, pan dderchafwn ein golygon yn uwch i'r eangderau tragywyddol, goruwch yr orsof hon, a thremio drwy ein chwydd-wydrau cywrain, cawn wledda yno yn mhlith yr holl fodau astronomyddol sydd yn tramwy yn eu cylchoedd, ryw un yn tra rhagori ar y llu gogoneddus; ei thanbeidrwydd dyscleiriawl, a'i chadernid diysgog ar ei phegwm, a brawf ei bod yn ganolbwynt, yn safon, ac yn *centre-point of attraction*, yn llywodraethu ar yr holl fydoedd serenol i gyd,—y cyfan oll fel yr ehediaid mân yn ngoleu yr haul, o'i hamgylch a chwareuant. Ar gopa uwchaf mynydd harddaf hon, mae dinas hardd odiaeth; ar yr orsedd odidocaf o fewn hon, y mae arwyddair a ysgrifenodd yr Elohim anfeidrol ei hun â'i law, mewn llythyrenau aur, er tragywyddoldeb, a dyma yw, "Tangnefedd, Cariad, ac Undeb." Mae y rhai hyn yn mhlith y dyscleiriaf o'i briodoliaethau hanfodol. Ymddyscleiriodd yr olaf, sef Undeb, yn berffaith ynddo er y dechreuad. Pan y cyfeiriodd ei olygon o fangre ei breswylfod, drwy eigion y bydoedd fry, a bwriad ei galon i reoleiddio ein daearen fach ni, yr oedd yno undeb perffaith; canys yr holl elfenau a gydunasant. A phan aethant at y gwaith cywreiniaf oll, sef creu dyn, "Gwnawn ddyn ar ein llun a'n delw ni"—er eu bod yn y rhif liosog, nid oedd un yn tynu yn groes, ond undeb perffaith. Rhoddasant esiamplau da o undeb i ni—do, ac elfenau undeb; cyfranasant o'r briodoledd hon i'w holl waith, nid yn unig i ddyn, ond i holl anifeiliaid y maes, i bysg y môr, ehediaid yr awyr, ïe, i'r holl elfenau a bodau bywydol, a difywyd, os oes gyfryw hefyd, fel nad oedd dim o'u holl waith ag un tueddiad ynddynt at wrthryfel na chasineb. "Ac edrychodd Duw ar ei holl waith, ac wele da iawn ydoedd." Pan y galwodd y Rhaglaw mawr, yr hwn a grewyd i fod yn dywysog ar y dywysogaeth ardderchog hon, yr holl anifeiliaid, &c., o flaen ei fawrhydi dynol i dalu eu teyrnged iddo, ac i dderbyn eu henwau a'u deddfau ganddo, daethant yn ufydd, yn unfrydol, yn gariadus, ac yn ddiniwed; nid ofnai yr oen y blaidd, ni niweidiai y llewpard y myn; ni fwytasai y llew gnawd, ac ni yfasai yr arth ddiferyn o waed eu cydgreadur, pe rhoddasid dan eu dannedd. Gallasai Adda gofleidio y wiber, ac Efa roddi colyn yr asp ar ei mynwes ddieuog yn hollol ddiberygl. Yr oedd yno gydgordiad ac undeb perffaith, ac ni throi un o honynt gil ei lygad yn guchiog ar y gwanaf. Pan aethant bawb o wyddfod eu brenin, yn ol ei orchymyn, nid yn unig yr oedd yn hollol undeb rhwng pob ehediad, ymlusgiad, a dyn, ond

yr oedd yr holl elfenau yn dawel, yn unol, ïe, yn ymffrostio i gael yr anrhydedd i'w wasanaethu; holl natur, drwy y bydyssawd, yn cyduno, yn ei hymdrechiadau gwirfoddol, i ymliwio, i ymwisgo, ac addurno yn ei holl wisgoedd godidocaf, i foddio ei lygad, ac yn ei haddurno ei hun yn deg i'w olwg, fel Esther gynt o flaen y brenin. Amdoai ei hun â'i charpet gwyrddlas a hardd, fel y byddai esmwyth dan ei wadnau; ni chai draen rwygo ei wisg freiniol, nac ysgall bigo ei gnawd; nid oedd dim a gaffai gyffwrdd ag ef er ei niwed. Buasai holl natur yn unllais yn amddiffyn ei haddurn penaf, sef dyn, yr ardderchocaf o greaduriaid Duw. Os oes cenfigen yn eu plith, tebygaf mai awydd am wên ei wedd a'i hachosodd; tarddai allan dan ei ffroenau bob rhosyn a blodeuyn a'i boddiai; pob arogliad oedd sugndod per-lysiau paradwys; holl goedydd y maes a ddewisent bob un ei gynllun er dwyn ffrwythau digon amrywiol i foddio pob archwaeth a feddai; ymgryment eu cangenau toreithiog o bob ffrwyth; gwahoddent, ïe, cymhellent eu seigiau danteithiol i'w enau, pan ymgrymai holl brenau y maes eu penau iddo; a phan elai brenin y goleuadau ei ffordd, canai noswyl i frenin a brenines daear â gwên ar ei enau, ïe, ni adawai i gwmwl dudew guddio ei wyneb oddiwrtho—nid oedd na gwlaw nac oerni i'w anghysuro; ni roddai ei belydrau yn rhy danbeidiol i'w niweidio, ond yn foneddigaidd ac anwylaidd; dadlewyrchai, fel y caffai y teulu breninol hyn gydorwedd dan fantell y nos, fel y gweuai blodau y maes, fel y cicaeon gynt, uwch eu pen, rhag i wlith y nos ddisgyn arnynt: a phan ddihunent, O olygfa hardd! Ddau ddyn dedwydd! nid oes gydwybod i'w haflonyddu oddi mewn, na dim oddi allan. Mae holl leisiau amrywiol a mwyn cantorion hardd y baradwys, yn canu eu clod, ac yn talu eu teyrnged foreuol iddynt; eu meddyliau a'u calonau puraidd hwy yn dyrchafu yn unfrydol at eu canol-bwynt a'u cartref nefolaidd mewn mawl a chaniadau peraidd i'r Jehofa. Dyma sefyllfa ddedwydd, onide? Wel, dyma fel y creodd Duw bob peth: ei ewyllys oedd iddynt ei fwynhau felly yn dragywydd. Ond O! y fath wahaniaeth sydd yn awr. Mae'r undeb hwn wedi colli; mae dyn a'i ddwylaw yn dyferu o waed ei frawd; mae cenfigen, malais, rhyfeloedd, terfysgoedd, ac ymraniadau yn mhlith dynolion. Mae holl anifeiliaid y goedwig yn byw ar gnawd eu gilydd; pysg y môr, ac adar yr awyr, yn ymgynddeiriogi am waed eu gilydd. Mae'r fath ryfela a chyflafan drwy y byd, nes y mae yr elfenau wedi cyfranogi o'r ysbryd gwrth-

rysfelgar. Y ddaear, yn ei dychryn a'i braw, wrth gynnal y fath gyflafan ar ei gwyneb, a rwygodd ei hymysgaroedd, nes neidio yn dalpiau a chlogwyni anferth, gan ddyrchafu eu penau llwydion a galarus i'r nefoedd mewn griddfanau, i gwyno o flaen ei Hawdwr galluog, y chwyldroad mawr fu arnynt, a'r modd y rhuthrodd yr elfen foddawl a ffyrnig o'r gogledd yn ol, gan lifo i'w hymysgaroedd erbyn eu gwaethaf; a chlywaf ateb ei chwynfan. "Myfi, ïe, myfi, a dalaf iddynt yn fy llid; chwi fynyddoedd anferth, er eich maint, a neidiwch fel hyrddod; tithau, ddaear, gan wir wres a doddi, a mi a'th adferaf i'th sefyllfa gyntefig. Ni rwystrir fy amcan er hyn oll; ond ewch, ac ymguddiwch o'm golwg am enyd; gwisgwch orchudd gymylawg eirawg oes am eich penau, ac aroswch yn gofadail ac yn dyst i bawb a'ch gwel, mai myfi a'ch gwnaeth, ac a'ch adferaf yn ol etto, wedi i mi gael ffordd i achub y dyn a greais ynoch, a'i had, i'ch meddiannu; canys yr wyf yn ei garu er hyn oll—gwaith fy nwylaw, ar fy nelw, cyfran o'm hysbryd sydd ynddo—rhy dda i'w golli. Fy mhlant ydynt hwy, nid wyf yn ewyllysio fod neb o honynt yn golledig; trefnaf ffordd, a rhoddaf iddynt ammodau, ïe, ammodau hawdd eu cadw, drwy ufydd-dod i ba rai y gellir eu dychwelyd hwy yn ol i'w sefyllfa berffaith gyntefig, ac nid dynolion yn unig, ond yr holl elfenau, y ddaear, bwystfilod y maes, ehediaid ac ymlusgiaid, a phob peth fel y creais hwynt. O drugaredd anfeidrol ynddo, onide? Pwy na ddiolcha am hyn?—pwy nad ewyllysia fod yn un o'r rhai gwynfydedig hyny? Wel, a ydyw hyny yn wir? Ydyw, os gwir y Beibl. Esay xi; Act. iii.

Mae yr undeb hwn yn cael ei gadw gan yr holl deulu fry; a phob un a ymwelodd â'n daear ni, a brawf fod y cwlwm euraidd yn annattodadwy; nid oes neb o honynt yn croes-ddweyd, na chroes-wneyd eu gilydd, o'r cyntaf a'r mwyaf a diriodd ar ein daear ni, hyd y diweddaf,—mae cydgordiad hollol. Nid yn unig y maent yn un â'u gilydd, ond yn dwyn undeb agos â'u brodyr —undod dechreuol, ac un gyssylltiad anwahanol, ac un-ganlyniad tragwyddol sy'n trigo ar y ddaear obry, tra cadwant yr ammodau o undeb; y maent yn dyfod o dro i dro i wared er sicrhau yr undeb hwn. Dyma undeb manteisiol i ni! O fraint annhraethol —uno dyn a Duw—dyfod â dwy blaid yn un, ïe, yr hwn sydd ond priddellau y dyffryn, i undeb tragywyddol â'r bodau pur dihalog, o achau dwyfol a theulu breiniol oddifry. O, dyma fraint! pwy na ddewisai hon?

Mae pob un o'r cenadau glân a ddaeth i'n daear ni yn cario yr arwyddair ar eu *standard*, sef undeb, nid yn unig â'n Creawdwr, ac â'n brodyr engylaidd fry, ond â'n brodyr unwaed ar y ddaear hon, cyn belled y bo modd; a'r perffeithiaf o honynt a'n cymhellodd ar y ddaear i hyn. Gwel Ioan xvii, 20—24. Dyma ei ddymuniad olaf, a'i weddi daeraf; dyma ei amcan a'i neges yn ei holl ddyoddefiadau—dwyn undeb a gogoniant tragywyddol i mewn; ac efe a'i cwblha. A phob un a ufyddhao i'r, ac a rodio yn y ffordd a ddarparodd i'r perwyl, a fwynhant gyflawnder efengyl y tangnefedd; canys er iddynt farw, hwy o gyfodant, ac fel fy nghorff i y cyfodant, medd yr Arglwydd, i fwynhau y gogoniant, os meirw fyddant yn Nghrist, canys "drwy yr efengyl y mae bywyd ac anllygredigaeth yn dyfod i'r goleuni." Dyma yr amcan mewn golwg, sef dwyn, nid yn unig ddyn, ond pob peth arall, i'w hundeb, perffeithrwydd, a gogoniant cyntefig,—fel y dywed Pedr, "fod yn rhaid i'r nef dderbyn Iesu Grist, hyd amseroedd adferiad pob peth a lefarodd Duw trwy enau y prophwydi santaidd erioed." Yna rhydd y nef ef i wared yn ol yn yr amseroedd hyny, os gwir a ddywed yr angylion. "Yr Iesu hwn, yr hwn a welsoch yn myned i'r nef; felly hefyd a ddaw i wared, yn amseroedd adferiad pob peth." Ystyr y gair adferu, yw dychwelyd y cyfryw beth i'w sefyllfa gyntefig, yr un fath ag yr oedd—nid dim yn wahanol; ac felly y gwna â'r ddaear hon, pan ddel yn Frenin i deyrnasu arni. Daw ei saint gydag ef, a theyrnasant yn freninoedd ac yn offeiriaid iddo ef ar y ddaear; ac efe a deyrnasa nes rhoddi ei holl elynion dan ei draed: yna y bydd perffeithrwydd o undeb, tangnefedd, a chariad brawdol am fil o flynyddau: a dyma y milflwyddiant y sonir cymmaint am dano, os derbyniwch ef. Mae yn sicr o ddyfod, ïe, ar fyrder; mae Saint y Dyddiau Diweddaf yn gwybod hyn, ac y maent yn ewyllysio ar fod i bawb, yn enwedig eu cydgenedl hynaws, i gael mwynhau y gogoniant a'r undeb hwn byth; maent yn caru eu cymmydogion yn rhy dda i'w gadael yn amddifad o hyn—dewisant ddyfod o bawb iddo. Wedi dyfod i wybodaeth o hyn, mae eu calonau yn ymeangu, eu meddyliau yn dyrchafu i fyny, a'u serchiadau yn cylymu am eu brodyr a'u chwiorydd unwaed, gan berswadio pawb i ddyfod i undeb a rhwymyn y cyfammod a sicrha iddynt y bendithion hyn. Yn awr, dyma yw taer ddymuniad ein calon a'n gweddi ar Dduw, dros ein cenedl. Mae llawer o ddywedyd yn ein herbyn, ein bod yn hollol amddifad o gariad brawdol; ond yn hollol

groes y mae y gwir. Yr ydym yn gwybod rhai ffeithiau, ac yr ydym hyd y nod dan bob anfanteision, yn dwyn ein tystiolaeth o'r pethau a wyddom, dan bob erlidigaeth, anfanteision, a chamgyhuddiadau, heb ddim i'n cymhell ond cariad at, ac ufydd-dod i'n Brenin, a chariad at eich eneidiau chwithau. Y mae genym y fath grefydd ardderchog, fel yr ydym yn rhydd; a dymunem i bawb arall ddyfod i'r un rhyddid oddiwrth bob rheffynau traddodiadol a chaethiwed. Mae y Saint yn debyg i'r morwr hwnw a fu yn y carchar Ffrengig am flynyddau lawer. Wedi dyfod allan, rhoddwyd iddo swllt i'w gychwyn tuag adref; ond braidd y cyntaf peth y sylwai arno oedd, dyn yn gwerthu adar canari mewn cawell. Gofynodd eu pris, a rhoddodd yr hyn oll a feddai am y cyfan o honynt; yna agorodd y cawell, a gollyngodd hwy oll yn rhydd. Y gwerthydd a synai wrth hyn; ond meddai y morwr, "Yr wyf fi yn gwybod gwerth rhyddid erbyn hyn, a'm gwaith o hyn allan fydd rhyddhau pob peth a allaf." Felly y Saint a garant weled pawb yn ufyddhau i "berffaith gyfraith rhyddid," sef yr efengyl; a chyn belled y bo undeb rhwng dynion a'u gilydd mewn pethau daionus, y maent i'r graddau cyferbyniol yn cyflawni dybenion eu creadigaeth, ac yn tebygu i'w Creawdwr daionus. O, mor hyfryd yw trigo o frodyr ynghyd; mae fel gwlith ar fynydd Hermon—fel mêl nefolaidd ar bêr-lysiau paradwys. Mor hyfryd yw traed y rhai sydd yn efengylu tangnefedd. Henffych i'r dedwydd ddydd, pan y bydd heddwch, undeb, a llawenydd fel y môr rhwng dyn a dyn, rhwng pawb a'u Duw, a rhwng pob peth a'u gilydd. Brysied a gwawried y boreu megys gynt. Y mae pob moddion a arferir er dwyn undeb a heddwch, yn deilwng o gefnogaeth, ac yn tueddu at ddaioni; ac nid wyf yn ammau na fydd cyfeillach mor hoff mewn gwyl dê fel hon, yn dwyn effeithiau daionus, pe na bai ond yr undeb a welir ynddo; canys y mae undeb yn dwyn heddwch, a heddwch lawenydd, pa rai sydd ffrydiau llifeiriol o'r ffynnonell dragywyddol, o'r hunangynhyrfiol gariad sydd fel y môr, a phawb yn nofio ynddo yn y nef. O frodyr a chwiorydd, ymdrechwch gadw undeb yr Ysbryd yn rhwymyn tangnefedd.—(*I'w orphen yn y nesaf.*).

---

## Y SER SAETHEDIG.

**Mynych** y mae dynion yn canfod sêr yn saethu o un man i'r llall yn yr awyrgylch, yn enwedig ar nosweithiau clir; ond ychydig iawn sydd yn gwybod pa fath sêr ydynt, na pha beth yw

eu defnydd. Y mae un Mr. Bennet o'r America yn ysgrifenu fel y canlyn ynghylch yr hyn a fu dan ei sylw ef mewn perthynas iddynt:—

"Pan oeddwn yn agos i làn y môr ychydig o flynyddau yn ol, canfyddais rywbeth dysclaer yn disgyn yn gymhwys gyferbyn â mi, mewn cyfeiriad unionsyth braidd, ac heb fod, mewn ymddangosiad, ddim dros 16 troedfedd oddiwrthyf, a chadwodd ei danbeidrwydd rhyngof fi a'r môr hyd nes braidd y cyrhaeddodd y llawr. Yn uniongyrchol tarawyd fy nghlust gan sŵn rhywbeth yn cwympo. Aethum yn mlaen i'r fan, ond gan nad oedd dim ond goleu sêr nis gallwn weled dim. Wrth deimlo ar y llawr, beth bynag, fe wanais fy mys i rywbeth tyner, yr hwn a gefais yn drewi yn anghyffredin, ac yn wahanol i ddim a aroglais erioed o'r blaen. Boreu dranoeth, cychwynais i'r lle drachefn, a gwelais gymmaint â dau bwys o gludgawl (*jelly*) llwyd, yr hwn oedd wedi disgyn ar lun pellen, ond ei fod wedi ei dori wrth gwympo ac wedi ymffurfio megys pellen hannerog. Gan nad oedd genyf un ffordd i bwyso na difynu y defnydd hwn, gadewais ef, gan farnu mai hwn oedd y defnydd sydd yn cyfansoddi y sêr saethedig."

Rhydd hanes hefyd am gyffelyb sylwedd yn disgyn yn ystwc llaeth ei forwyn, yn ddiarwybod iddi. Yr unig effaith a wnaethy cwymp, oedd gogwyddo yr ystwc ychydig ar y naill ochr.

Dywedir fod y defnydd rhyfedd hwn, pan y gosodir ychydig o hono yn y tân, yn drewi yn annyoddefol. Mae defnyddiau o'r un desgrifiad i'w gweled yn aml yn ein gwlad ein hunain, yn neillduol ar ein traethau, lle mae y môr, feddyliem, yn taflu y rhai sydd yn dygwydd disgyn ynddo, i'r làn gyda'r llanw; yr hyn sydd yn profi eu bod yn ddefnyddiau ag sydd yn ysgafnach nâ dwfr.

Barna llawer nad yw y defnyddiau hyn yn bodoli yn flaenorol i'r saethiad a wnant, onide y buasent yn cael eu sugn-dynu i'r ddaear yn gynt; ond y mae hyny yn ymddibynu yn hollol ar y cyflawnder a ddichon fod ynddynt o gas. Ni wna cwmwl, ni wyddom, ddim disgyn i lawr, nes y byddo ei gynnwysiad yn ymdrymhau, drwy ymwasgu at y gilydd; ac felly y gall fod gyda defnyddiau y sêr saethedig.

Mae pethau ereill a elwir yn sêr saethedig, ag sydd yn wahanol i'r rhai blaenorl. Mae y rhai hyny yn ymollwng ceryg yn chwyrn weithiau i'r ddaear; a phe buasai y rhai hyny yn disgyn i ystwc llaeth, mae yn fwy na thebyg y buasai yn cael ei falurio yn y fan.

Ymddengys pethau fel hyn yn rhyfedd i lawer, o herwydd fod sylwedd yn disgyn o leoedd nas gallant gredu fod un math o sylwedd yn bodoli. Yr un fath y gallant gredu hyn, a chredu y gall y tarth diddym sydd yn yr awyr i ymffufio yn ddwfr, ac wedi hyny yn ia, nes y gallant gerdded arno.

Mae yn taro ar ein meddwl ni, pe gwelsem lawer o'r defnyddiau saethedig a gludiog dan sylw yn disgyn i lawr, y buasem yn barod i ddweyd gyda Ioan y prophwyd (Dad. vi, 13), "A sêr y nef a syrthiasant ar y ddaear, fel y mae y ffigysbren yn bwrw ei ffigys gleision, pan eu hysgydwer gan wynt mawr." Pa un ai rhai o'r planedau bychain a ddichon fod o'n hamgylch, neu ryw ddefnyddiau tanbeidiol fel y rhai a fu dan sylw genym, fydd y sêr a ddesgrifia yr ysgrythyr, ni chymmerwn arnom i wybod; ond digon tebyg y byddant yn syrthio megys ffigys o ran lliosogrwydd, ac megys ffigys o ran bod yn weledig. Ymddengys fod rhanau o'r ddaear wedi eu cymmeryd ymaith, megys paradwys Adda, dinas y deg llwyth, &c., ac y byddant yn cael eu hadferu etto yn ol. Dichon y gall adferiad y rhai hyny ymddangos megys sêr yn syrthio; ond meddyliwn y gall y cynhyrfiadau mawr a fydd yn yr awyrgylch y dydd diweddaf, achosi llawer o'r defnyddiau saethedig sydd yn disgyn megys sêr yn bresennol, i wneyd hyny hefyd yn fwy neillduol ar yr amser hwnw, nes na fydd dim i'w weled ond sêr yn syrthio megys ffigys. Amser, efallai, yn unig a eglura y pwnc yn drwyadl; ac am hyny gwawn ddefnydd o'r hyn sydd genym mewn eglurdeb, hyd nes y caffom wybod ychwaneg.

---

## CYFIAWNDER YR YSGRIFENYDDION A'R PHARISEAID.

Cytuna pawb i ddweyd, fel ag y dywedodd ein Harglwydd Iesu Grist, "Oni bydd eich cyfiawnder yn helaethach na chyfiawnder yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd." Er y cyffesir hyn â'r tafod yn gyffredin, etto anfynych iawn y gwelir ein cyd-ddynion yn chwilio i mewn er cael allan pa mor helaeth oedd cyfiawnder yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid. Nid oes addewid o fywyd tragywyddol i neb dyn, ond i'r cyfryw fydd yn ddeiliaid teyrnas nefoedd; ac oddieithr fod ein cyfiawnder yn helaethach na chyfiawnder yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, nis gellir bod yn ddeiliaid o'r cyfryw; o ganlyniad, gwelwn fod yn ddoethineb yn mhob dyn, ac yn ddyledswydd hefyd, i chwilio

er cael allan gyfiawnder yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, ac yna gallwn ddeall, wrth osod eu cyfiawnder hwy, gyferbyn a'n heiddo ein hunain, pa un a fydd ein cyfiawnder ni yn helaethach na'i heiddo hwy; ac i'r dyben hyny gwnawn sylwi fel y canlyn:—Yr wyf i, medd un, yn credu fod Duw yn fod santaidd a da: felly'r Phariseaid hefyd. Yr wyf fi yn credu fod Duw wedi creu dyn ar ei lun ac ar ei ddelw ei hun, ac nad arosodd y dyn yn y sefyllfa ddedwydd hono: credai y Phariseaid hyny hefyd. Credaf fi fod Duw wedi rhoddi addewid i'r dyn, er iddo bechu, y buasai i "hâd y wraig sigo siol y sarff, &c.: credai y Phariseaid hyny hefyd. Credaf fi fod Duw yn gyfiawn, ac yn eirwir: felly'r Phariseaid hefyd. Credaf fi fod Duw yn nerthol a chadarn, a'i fod wedi amlygu llawer o'i allu yn mysg ei bobl yn y dyddiau gynt: credai y Phariseaid hyny hefyd. Gallaf fi ddweyd fy mod yn credu fod Duw yn anghyfnewidiol: dywedai'r Phariseaid hyny hefyd. O, yr wyf fi yn helaethach yn fy nghyfiawnder na hwynt-hwy, oblegid yr wyf yn credu yn yr holl ysgrythyrau: felly'r Phariseaid yr un modd; credent yr holl ysgrythyrau ag oedd wedi eu hysgrifenu, ond nis gallent gredu nac anghredu y Testament Newydd, oblegid nad oedd hwnw wedi ei ysgrifenu; ïe, mewn gair, credent yn yr holl ddadguddiadau ag oedd Duw wedi eu rhoddi i'w tadau; ac o barch i'r prophwydi yr oeddynt yn addurno eu beddau. Yn awr, ddarllenydd hynaws, a gaf fi ofyn iti, yn mha beth y mae dy gyfiawnder yn helaethach? Dychymmygaf dy glywed yn coffa am dy weddiau, dy elusenau, dy sêl, a'th air da, &c.: ïe, ond cofia, nid yn fwy helaeth yn y naill beth, na'r llall, nag oedd y Phariseaid gynt. Gwel hyd yn hyn fod cyfiawnder y Phariseaid a'r ysgrifenyddion mor helaeth â'th gyfiawnder dithau; ac ystyria hefyd, cyn y bydd i'th gyfiawnder gael ei helaethu, fod yn rhaid i ti, nid yn unig broffesu â'th enau fod Duw yn gyfiawn, yn santaidd, yn anghyfnewidiol, &c., ond proffesu hyny yn wirioneddol; ac os gwnai felly, y mae rhaid o angenrhaid i ti gredu fod Duw a'i ffordd yr un yn awr ag oedd pan ei sefydlodd; ac os oedd ef yn gwneuthur arwyddion a rhyfeddodau yn mysg ei blant gynt, ei fod felly yn awr. Os amgen, ni fydd dy gyfiawnder yn helaethach nâ chyfiawnder yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid; ac hefyd, os wyt yn ewyllysio o galon fod dy gyfiawnder yn helaethach na'i heiddo hwy, ymwâd â'th hunanoldeb, nac ymddirieda mewn doethineb ddynol, ac na anrhydedda â'th wefusau er mwyn budd; paid a charu y lle uchaf yn y

synagogau; na chyfrana elusenau er mwyn cael dy weled gan ddynion; paid a choleddu rhith duwioldeb, gan wadu'r grym (sef Ysbryd Duw); ymwrthod â chwedlau gwneuthur; gâd o'r nailldu y rhai sydd yn pentyru iddynt eu hunain athrawon, yn lle Duw, a'r rhai sydd yn didoli eu hunain heb fod yr Ysbryd ganddynt; y rhai sydd yn dysgu bob amser, ac etto yn amddifad o wybodaeth y gwirionedd; gâd y cyfryw, trwy adael heibio draddodiadau dy dadau, a pheidio cymmeryd gorchymynion dynion yn ddysgeidiaeth. Yn awr, dychymmygaf dy glywed yn gofyn, pa beth a wnaf er cael y cyfiawnder hwnw a fydd yn fy nghymmeradwyo ger bron Duw? Dywedaf wrthyt pa beth oedd cynllun Duw i ddyn er cael ei gymmeradwyo ger ei fron, sef, yn gyntaf, credu yn Iesu Grist fel digonol Waredwr ar gyfer pechadur; yn ail, edifeirwch am dy bechodau; ac yn drydydd (ond nid yn gyntaf, cofia) cymmeryd dy fedyddio er maddeuant o'th bechodau; ac yna rhydd Duw dystiolaeth iti trwy yr Ysbryd Glân, fel y gelli ddweyd, "Derbyniais berffaith gariad, yr hwn a fwriodd ymaith ofn, ac i fod deddf ysbryd y bywyd wedi dy ryddhau oddiwrth ddeddf pechod a marwolaeth." Ac yna, trwy dderbyniad y rhoddion gwerthfawr a nodwyd, bydd yn eglur i ti fod dy gyfiawnder yn helaethach na chyfiawnder yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, am nad oedd ganddynt hwy ond efengyl oedd mewn gair yn unig, ond fod hon mewn nerth ac mewn sicrwydd mawr yn yr Ysbryd Glân; a'th fod hefyd wedi ufyddhau i'r un reol, ac wedi derbyn yr un bendithion ag a dderbyniodd y rhai hyny oedd yn cael eu hystyried yn gyfiawn gerbron Duw. Gan hyny ufyddha (heb wrandaw ar weision y tywyllwch); ac i'r dyben hyny, dywedaf yr hyn a all miloedd trwy Gymru ddweyd hefyd yr un modd, sef fod Duw yn ac wedi cyfranu y bendithion uchod i feibion a merched dynion yn yr oes hon, a hyny trwy ufyddhau i'r ordinhadau a nodwyd; a dywedaf hefyd, "Ni a wyddom, os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ni adeiliad gan Dduw, sef tŷ nid waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd."

*Tre-Sior.* T. HARRIS.

---

## GWEDDIO.

Y MAE gweddio yn un o'r dyledswyddau mwyaf sydd yn perthyn i'r Saint, o herwydd mai trwy weddio ar eu Tad nefol y maent yn derbyn eu holl fendithion, tymmorol ac ysbrydol. Os na fyddant

yn gweddio, y maent yn amddifadu eu huuain, ac yn colli yr Arweinydd nefol i ofalu am danynt; ond tra fyddant yn ddyfal yn ymarferyd â gweddi, y maent yn llwyddo ar bob llaw, ac yn myned yn fwy nâ choncwerwyr ar bob peth.

Nid oes hawl gyfreithlawn gan neb i weddio, os na fydd, trwy ufydd-dod i ordinhadau, wedi ei eni o Dduw, fel ag i fod yn blentyn iddo; canys heb hyny nis gellir yn briodol alw Duw yn Abba, Dad. Mae yn wir fod esiamplau i'w cael, lle mae Duw wedi gwrandaw ar estroniaid; ond yr oedd yr estroniaid hyny yn gyfryw a ewyllysient ddyfod yn blant iddo, ac felly yr oedd yntau yn eu hateb, megys y gwnaeth i Cornelius, trwy hysbysu y ffordd i gael o hyd i'r drefn sydd ganddo er mabwysiadu estroniaid.

Mae yn anghenrheidiol er llwyddo mewn gweddi gerbron Duw, fod y gweddiwr yn teilyngu ei wrandaw, a bod ei holl weithredoedd yn dangos fod ganddo hawl i fendithion ei Dad. Nid pawb a fyddo yn gwaeddi "Arglwydd, Arglwydd," sydd yn tynu ei sylw: mae yn rhaid iddo ef weled fod yno blentyn sydd yn arfer ufyddhau i'w Dad, ac fod arno anghen cynnorthwy. Mae Duw yn barod i gynnorthwyo pawb yn yr hyn nas gallant eu hunain; ond nid yw byth yn addaw helpu llafurwr dioglyd i ennill ei fara, pan y gwel y gall helpu ei hunan. Felly, y mae Duw yn gyfiawn, ac yn ddoeth yn ei holl ffyrdd; y mae, megys Tad tyner a chariadus, yn cyfranu i'w blant yr hyn sydd yn angen arnynt, ac Efe sydd yn gwybod oreu pa bryd y mae yn amserol i gyfranu, a pha bryd y mae yn ddoeth i beidio.

Yn awr, os yw dynol-ryw wedi cael y fraint ardderchog o adnabod Duw yn Dad iddynt, pa faint ddylai eu diolchgarwch fod, a pha mor ddoeth y dylent fod tra yn nesu ato mewn gweddi? Oni ddylent ystyried pa fath un ydyw eu Tad, a pha mor ogoneddus y mae mewn gogoniant? meddwl hefyd am y perffeithrwydd digyffelyb sydd yn perthyn iddo, a'r fraint y mae dyn yn gael o'i alw ef yn Dad. Gwelai Iesu Grist yr anghenrheidrwydd o ddysgu dynion pa fodd i anerch Bod mor ogoneddus; ac i'r dyben hyny, yr oedd yn rhoi esiamplau iddynt i'w ddilyn. Efelly y gwnai yr apostolion hefyd; ac efelly y mae anghen gwneuthur yn y dyddiau hyn. Y mae eisieu bod yn neillduol o ddoeth wrth weddio ar un mor berffaith. Pa mor wyliadwrus y mae dynion wrth anerch gwyr mawr a breninoedd? Onid ydynt yn astudio pa fodd y gallant gael ffafr yn eu golwg, ac onid ydynt yn myned o'u blaen mewn gwylder mawr a gostyngeiddrwydd? Os ydyw dynion mor

wyliadwrus wrth wynebu eu cyd-ddynion, pa mor wyliadwrus y dylent fod wrth wynebu eu Creawdwr hwy, a Chreawdwr mawrion a breninoedd? Er hyny, y mae llawer yn arfer llai o ddoethineb a gwylder wrth weddio ar Dduw, o'r hanner, nag a arferant wrth wyr mawr. Ni ddylai hyny fod: er fod Duw yn drugarog iawn, ac yn edrych heibio i ffaeleddau, etto nid heb ddysgwyl gweled dynion yn ymestyn at berffeithrwydd. Mor fongleraidd y mae llawer yn gwneyd eu cwynion yn hysbys i Dduw! Y fath nifer fawr sydd ganddynt o eiriau gwag a disynwyr! Mae mwy nâ hanner gweddiau rhai yn cael eu llanw â'n "Tad nefol;" tra mae ereill yn treulio yr amser braidd i gyd i ddysgu Duw yn yr hyn y mae yn wybod. Gellir rhifo dros gant o "ïe" yn ngweddiau llawer; ac oddeutu yr un nifer o'r "a hyny" yn ngweddiau ereill. Mae enwi Duw braidd bob pum gair yn annoethineb o'r mwyaf, ac yn cymmeryd ei enw Ef yn ofer. Wedi anerch Duw yn y dechreu, bydd yn gwybod pwy fydd yn cael ei anerch trwy y weddi, ar ol hyny, heb achos ei hysbysu bob anadliad; ac wedi gwneyd yn hysbys mae gweddio yr ydys yn enw Iesu Grist, ni fydd achos ail adrodd hyny o hyd wrth erfyn gwahanol bethau. Dylid cofio fod ein Tad nefol yn ddigon deallus i amgyffred ein meddyliau mewn ychydig eiriau; ac am hyny dylai pawb fod yn anaml yn eu geiriau o flaen Duw. Nid oes achos i neb ychwaith i ymarfer y dôn sectaraidd, gan feddwl fod Duw yn eu gwrandaw yn gynt: nid yw efe yn caru y fath ffolineb. Nid oes neb yn myned o flaen ei gyd-ddyn yn y dull hyny; ped elai rhywun, ystyrid ef yn wallgof, ac ni fuasai byth yn cael ei wrandaw. Dylai pawb ymarfer eu llais naturiol yn mhob amgylchiad, a pheidio meddwl fod Duw, yn fwy nâ dyn, yn caru y fath ddull lledchwith o eiriol.

Nid ydym yn ewyllysio dysgu un ffurf o weddi, o herwydd nas gallai gweddi felly byth ateb yn mhob amgylchiad. Y mae anghenrheidiau plant Duw yn cyfnewid yn barhaus; ac o ganlyniad, byddai raid i'r gweddiau gyfnewid hefyd. Ond byddai yn ddoethineb yn mhawb i anerch eu Tad nefol yn gyffelyb fel y dysgodd Iesu Grist, ac nid myned i wneyd llawer o ddefnydd o Jehofa, &c., y rhai sydd yn enwau i'w harfer ar achlysuron gwahanol. Wedi anerch ein Tad, yn enw Iesu Grist, yna gwnawn ein cwynion yn hysbys o'i flaen, a hyny mewn ffydd; ac wedi hyny, gallwn derfynu y weddi eilwaith yn enw Iesu Grist. Wrth weddio mewn cwrdd gweddi dros lwyddiant yr eglwys,

dechreuer trwy ddymuno ar Dduw i fendithio Brigham Young a'i gynghorwyr, yna y deuddeg, uchel gynghor Seion, a'r deg-a-thrugain; wedi hyny, gweddier dros ein hanwyl frawd Jones, a thros lywydd Cymru a'i gynghorwyr, heb anghofio y cenadwr Ffrengig; yna, gweddier dros holl lywyddion y cynnadleddau Cymreig, a'u cynghorwyr, yn neillduol dros lywydd a chynghorwyr y gynnadledd a berthynir iddi; wedi hyny, cofier am lywydd a chynghorwyr y gangen, ynghyd â'r henuriaid, yr offeiriaid, y dysgawdwyr, a'r diaconiaid a fyddo ynddi, canys trwy y rhai hyny, yn fwyaf neillduol, yr ydys yn derbyn bendithion gan aelodau y gangen. Cofier hefyd am y Saint yn gyffredinol, yn glaf ac yn iach, ac mewn pob sefyllfa; am lwyddiant yr efengyl, ac achubiaeth y rhai onest; hefyd, nac anghofier gweddio dros y rhai a wnel niwed i ni, ac yn neillduol dros ein Brenines a'i swyddogion, a thros bawb. Nid oes doethineb mewn enwi pesonau ar bob amgylchiad; ond tra na fyddo ond Saint ynghyd, gellir enwi rhywrai neillduol. Pan ag y byddo rhywun yn gweddio yn gyhoeddus, nid oes eisieu i neb i adrodd yr un geiriau yn ddirgelaidd; os bydd pob un yn dymuno yr un peth, bydd hyny yn llawn ddigon, a gall ddweyd ei amen yn ei feddwl, heb achos peri anghydfod mewn un modd; ond pan fyddo y gweddiwr yn terfynu, mae yn weddaidd fod pawb yn cyd ddweyd ei "amen," eithr gofaler na fyddir yn cadw sŵn taran wrth wneyd hyny. Rhai o ragoriaethau gweddi yw byrdra, gonestrwydd, teimlad, ffydd, a gostyngeiddrwydd; a dylai hyny fod mewn golwg yn wastadol gan bob un fyddo yn anerch gorsedd gras.

Gobeithiwn y bydd y sylwadau a'r cynghorion blaenorol yn llesol i'r Saint yn gyffredinol; a gobeithiwn hefyd na fyddant yn anghofio gweddio dros y sawl a'u hysgrifenodd. Trwy weddiau y Saint yn unig y dysgwyliwn gyrhaedd y ddoethineb hono sydd mor angheurheidiol arnom yn barhaus.

---

## GWLAWIO CIG A GWAED.

Yn y flwyddyn 1841, cyhoeddwyd hanesion yn y newyddiaduron Americanaidd ynghylch dwy gawod o gig a gwaed—un yn Tannessee, a'r llall yn Massachusetts. Y mae un o ohebwyr y "South Carolian," pan yn ysgrifenu o Union District, S. C., ar y 30ain o Ragfyr, 1843, dan yr enw o L. M. Davis, yn rhoddi hanes

cyffelyb am ddygwyddiad o'r fath yn cymmeryd lle yn y dalaeth hono ychydig cyn hyny. Llefara fel hyn:—"Dydd Sadwrn diweddaf, pan oedd Mr. Wm. M. Inlow a'i ddau fab yn pigo cotwm ar ei blanigfa (yn Lauren's District, gerllaw yr afon Enorce, ac oddeutu dwy filltir islaw Musgrove's Mill), darfu i'r mab ieuengaf waeddi ar y llall, yr hwn oedd ychydig o bellder oddiwrtho, i wrandaw, canys yr oedd wedi clywed rhywbeth yn disgyn gerllaw iddo. Meddyliasant mai camsynied oedd, ac ni wnaethant fawr sylw o hono; ond parhaodd yntau i alw, gan ddweyd wrthynt, os deuent yno, y caent weled rhywbeth wedi disgyn. Aethant yno, a chawsant fod y ddaear wedi ei brithio â'r hyn a ymddangosai iddynt hwy yn debyg i dameidiau o gig, yn gyffredin o faintioli wŷ giar. Yr oedd y darnau hyn yn llaith iawn, ac mor goch â'r gwaed, neu un peth arall a allai eu lliwio felly; ac yr oedd y porfa, y cotwm, a pha beth bynag a fuasai yn cyffwrdd â hwynt, yn cael eu lliwio megys gan waed. Yr oeddynt wedi eu gwasgaru amryw droedfeddi oddi amgylch, dros oddeutu ugain neu ddeg-ar-hugain o latheni o led ar y tir, a sylwyd arnynt am oddeutu hanner can llath ar ei hyd, ond ni aethwyd yn mhellach i sylwi arno.

"Clywais am y peth hyn ddoe, ac aethum yn nghwmni dau foneddig i ymweled â'r lle yn bersonol. Buom mor ffortenus ag i gael gafael ar ychydig o hono ag oedd yn aros; ac yr oeddem oll yn cytuno ei fod yn ymddangos fel cig, o gyfansoddiad teg iawn, yn llawer tecach nâ dim a welsom ni o'r blaen. Yr oedd rhai o'r darnau yn edrych yn llawn brasder, ond y rhan fwyaf fel arall, yn goch iawn, ac yn hytrach yn dryloyw pan yn cael eu dala rhyngom â'r goleu; ond yr oeddynt wedi sychu llawer pan y gwelais i hwynt, canys yr oeddynt yno er ys pedair awr ar hugain.

"Yr oedd y William Inlow, ieuengaf, bachgenyn call a chredadwy oddeutu pedair-ar-ddeg oed, yn dweyd iddo ef ar y cyntaf glywed rhai darnau yma ac acw yn cwympo, a chan edrych i fyny, gwelodd yr awyr wedi ei thywyllu ganddynt; ac yr oeddynt rywbeth yn debyg i eira yn cwympo yn araf, pan fyddo ei ronynau yn disgyn yn wasgaredig, ond eu bod hwy yn disgyn yn fwy cyflym. Disgynodd y gawod oddeutu canol dydd, pan oedd yr haul yn ymddyscleirio, ac ychydig o gymmylau goleu yn yr awyrgylch; ond nid oedd un achos gweledig i'r dygwyddiad rhyfedd dan sylw."

Adgoffa yr amgylchiad blaenorol i ni, eiriau yr Arglwydd trwy enau Joel; sef, "A gwnaf ryfeddodau yn y nefoedd: ac yn y ddaear, *gwaed*, a thân, a cholofnau mwg." (Joel ii, 30).

---

## EFENGYL YR IESU.

Ai efengyl yr Iesu yw pob sain a glywir,
  Yn cael ei phregethu trwy gyrau pob gwlad,
Yn gwaeddi, Gwnewch gredu yn Nghrist fel Gwaredwr,—
  Nid oes cymmaint pwys ar yr un ordinhad?
Rhyw blisgach allanol, afreidiol, dywedant,
  Yw bedydd er maddeu pob pechod a bai,
Ac arddodiad dwylaw henuriaid yr eglwys
  Er debyn yr Ysbryd!—mor ynfyd yw rhai!

Ai plisc yw gwir lwon Eneiniog y Nefoedd?
  Ai dirym yw'r gyfraith roes Crewr y byd,
Yn reol rydd berffaith i'r meirw gael bywyd,
  Ag oedd yn y cwympiad yn gydradd i gyd?
Gwir gred yn yr Iesu a brawf trwy ufudd-dod,
  Yw geni o ddwfr a'r Ysbryd ynghyd,
Cyn dyfod i'w deyrnas;—mae geiriau y Brenin
  Yn awr yn eu grym a'u dyscleirdeb o hyd.

Mae'n wir fod yr Iesu, fel dywed y Seintiau,
  Gynt wedi gosod y cyfan ynghyd,
Yn moreu Cristionogaeth, er trefnu y deyrnas;
  Ond nid yr oes hon, gan mor oleu yw'r byd:
Ow, ow! os goleuni efengyl yr Iesu
  Yw pob gwawl dywyna i ni dan y ne',
Pwy, pwy trwy yr hollfyd a'r na fydd gadwedig,
  Trwy gael ffordd ei hunan, a dewis ei le?

Pan fyddo'r elfenau yn cyd-ymgynhyrfu,
  Mynyddoedd fel hyrddod yn llamu o'u lle,
A'r bryniau yn prancio fel ŵyn bach y gwanwyn,
  A'r sêr yn ymollwng o gylchoedd y ne';—
Defnyddiau a fyddant gan wir wres yn toddi,—
  Bydd geiriau yr Iesu bryd hyny yr un;
Ei 'wyllys fe wna, a'i holl gynghor a geidw;—
  Pryd hyn gwelir gwendid doethineb pob dyn.

Ni wyddom fod Duw wedi adfer ei eglwys,
  A gwybydd y gonest, os iddi gwna ddod,
Ca Ysbryd yr Arglwydd a'i nefol fendithion,
  Y rhai na ddychymmygodd ei galon erioed;
Na choeliwch bob stori a ddaw gyda'r awel,
  Ond profwch a bernwch nes deliwch y gwir;
Os felly gwnewch wneuthur, chwi anwyl gyd-Gymry,
  Yn Saint dirmygedig y deuwch cyn hir.

*Cwmnedd.* IOAN BACH.

## IOAN FEDYDDIWR.

Dywedai Iesu Grist am Ioan, "Yn wir meddaf i chwi, Yn mhlith plant gwragedd, ni chododd neb mwy na Ioan Fedyddiwr." Mae y geiriau blaenorol yn annealladwy i lawer, fe ddichon; a meddyliwn mai peth buddiol fyddai rhoddi eglurhad ein prophwyd merthyredig Joseph arnynt.

Dywedai efe, na elwid Ioan yn fawr, "o herwydd ei fod wedi gwneyd gwyrthiau, canys ni chyflawnodd efe wyrthiau; ond gelwid ef felly,

"1. O herwydd fod cenadiaeth ddwyfol wedi ei hymddiried iddo, o barotôi y ffordd o flaen wyneb yr Arglwydd. I bwy yr ymddiriedwyd y fath genadiaeth o'r blaen, neu wedi hyny? I neb.

"2. Ymddiriedwyd iddo, a gofynwyd hyny oddiar ei law, i fedyddio Mab y Dyn. Pwy erioed a wnaeth hyny? Pwy a gafodd fraint erioed mor fawr a gogoneddus? Pwy erioed a arweiniodd Fab Duw i ddyfroedd bedydd, gan weled yr Ysbryd Glân yn disgyn arno ar ddull colomen? Neb.

"3. Ioan, ar yr amser hwnw, oedd yr unig weinyddwr cyfreithlawn, ag oedd yn dal allweddau y gallu oedd ar y ddaear. Yr oedd yr allweddau, y deyrnas, y gallu, y gogoniant, wedi ymadael oddwrth yr Iuddewon; ac Ioan, mab Zachariah, trwy yr eneiniad santaidd, ac ewyllys y nefoedd, a gadwai allweddau y gallu dros yr amser hwnw."

---

## MEDDYGINIAETH EFFEITHIOL JEHOFA A'I FAB AT Y CHOLERA, AC HOLL GLEFYDAU Y CORFF.

Cymmerwch lwyaid o *olive oil* cyssegredig; a chymmysgwch ynddo hanner gronyn o ffydd bur. Trwy fod hyn yn cael ei gymmeryd neu ei weinyddu yn enw Iesu Grist, profa ei hun y feddyginiaeth fwyneiddiaf, diogelaf, a mwyaf effeithiol.

Mae y feddyginiaeth uchod wedi ei chael allan er ys oddeutu deunaw cant o flynyddoedd; ac y mae wedi llwyddo i wellhau y gwahangleifion, rhoddi llygaid i ddeillion, clustiau i fyddariaid, lleferydd i'r mudan, a dwyn oddiamgylch ffoedigaeth cythreuliaid, pan yn cael ei rhoddi gan Iesu o Nazareth a'i apostolion; ac yr ydym yn dwyn tystiolaeth fod y feddyginiaeth hon hefyd, yn yr oes yma, yn rhagori ar bob meddyginiaeth arall, a'i bod mor effeithiol yn awr ag erioed.

Anhawdd fyddai cael lle i'r holl dystiolaethau a dderbyniwn yn feunyddiol am y gwelliadau a dderbynir trwy gyfrwng y feddyginiaeth uchod. Digon yw dweyd eu bod yn rhy liosog i'w cyhoeddi; a phan ystyrir fod effeithioldeb y feddyginiaeth hon wedi ei sefydlu yn amser Iesu Grist a'i apostolion, nid oes eisieu cymhell neb i wneuthur prawf o honi.

---

D. S.—Bydd cymmeryd dogn yn achlysurol, yn ol yr amgylchiadau, yn cryfhau yr archwaeth, yn mwyhau y nerth gewynol, a rhoddi bywyd adnewyddol yn yr holl gyfansoddiad.

Rhybydd.—Gofalwch rhag efelychiadau twyllodrus Satan a'i Gyf. Nid oes dim yn bur ond yr hyn sydd wedi ei nodi â'r geiriau canlynol—"Wedi Derbyn Awdurdod." Gellir cael y feddyginiaeth hon yn rhad, trwy ddanfon at Henuriad o Eglwys Iesu Grist, Saint y Dyddiau Diweddaf, yn holl brif drefydd Cymru a Lloegr, Ysgotland, yr Unol Daleithiau, hefyd yn y Society Islands, a Dyffryn y Llyn Halen Fawr; bwriedir yn fuan cael dirprwywyr yn mhob rhan o'r byd.

---

## GAIR AT BREGETHWYR Y SAINT.

Gan mai llwyddiant teyrnas Dduw yn mhlith ein cyd-genedl, ddylai fod fwyaf o dan ein sylw ni a'n brodyr, hyderwn y bydd awgrym yn awr ac yn y man yn fendithiol, er i ni oll ymestyn at y moddion goreu i achub ein cyd-ddynion. Buom yn meddwl weithiau fod pregethu llawer yn effeithiol iawn, a hyny yn mhob cornel ag y gellid cael lle; ond gallem ddeall fod un bregeth mewn lle ffafriol, yn fwy dylanwadol na chant mewn lleoedd ereill. Nis gallwn lai na barnu fod gormod o bregethu wedi bod mewn lleoedd isel a diolwg; a bod hyny wedi achosi i lawer o ddynion gonest a chymmeradwy, i beidio dyfod i'n gwrandaw. Dichon y barna llawer fod achub gwehilion a thlodion mor gymmeradwyol gan Dduw ag achub dynion cyfoethog a dylanwadol: geill hyny fod, ond os gellir achub dynion o ddylanwad a chymmeriad yn gyntaf, bydd mwy na hanner y gwaith wedi ei wneyd, a dylifa y tlodion i mewn braidd o honynt eu hunain. Nid oes dim yn well wrth sefydlu cangenau ar hyd y wlad, nag ymdrechu cael y dynion goreu i ddechreu—sef y dynion a allant gadw cyfreithiau Duw, a chreu dylanwad o ochr y Saint. Y gwrthwyneb o hyn, yw yr achos o'r dywediad sydd mewn ambell fan, nad oes

neb gan y Saint ag a ellir ystyried yn werth sylw. Er fod hyn yn gamsynied erchyll am y Saint yn gyffredinol, geill fod yn wirionedd am ambell gangen fychan, lle mae annoethineb wedi bod wrth ei sefydlu.

Nid ystyriwn fod doethineb mewn parhau i bregethu yn yr un man yn rhy fynych, oddieithr fod galwad am hyny; yn enwedig lle byddo dynion yn gwrthod dyfod i wrandaw. Gwell gadael lle felly am yspaid, nes y deuant i weled mwy o werth pregethu. Mae hanes cyfarfodydd bychain yn effeithio ar feddyliau pobl, ac yn peri iddynt gywilyddio dyfod i le felly i wrandaw. Lle byddo diffyg o wrandawwyr yn rhywle, bydd yn well peidio pregethu yn rhy aml; gwneler y coll i fyny trwy ymgyfeillachu a siarad â rhyw bersonau awyddus i feddu y gwirionedd. Nid yw o nemawr daioni, ychwaith, i bregethu mewn ardaloedd pellenig, lle nad oes neb o'r swyddogion yn myned yno i aros. Mae yn ddiammau fod llawer o lafur wedi myned yn ofer yn y ffordd hyny, a lle yn cael ei roddi i ddiafol i daenu ei gelwyddau yn fwy effeithiol.

Efallai y cawn gyfleusdra rywbryd etto i ymhelaethu ar bethau o'r fath, ac i osod y mater mewn mwy o oleuni, fel y gwelo ein brodyr pa fodd y mae yn ddoethaf i weithredu. Gobeithiwn, er hyny, na fydd yr ychydig a nodwyd yn anfuddiol, ond yr ateba lawer o les cyffredinol.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR FFLINT.

CYNNALIWYD cymmanfa Sir Fflint yn Rhosllanerchrugog, ar y 12fed o Awst. Cynnrychiolwyd pedair cangen, yn cynnwys 9 henuriad, 6 offeiriad, 3 athraw, a 2 ddiacon; 6 wedi eu bedyddio er y gymmanfa flaenorol; cyfanrif yn 65. Dewiswyd R. Jones i fod yn llywydd ar gangen y Cefn. Anerchwyd y Saint ac ereill gan amrywiol swyddogion yn ystod y gwahanol gyfarfodydd yn effeithiol iawn, ac ordeiniwyd un henuriad, dau offeiriad, ac un athraw. Penderfynwyd fod i'r Saint weddio dros Brigham Young a'i gynghorwyr, gyda'r ddeuddeg Apostol, Capt. Jones, Llywydd Cymru, &c. JOHN DAVIES, *Llywydd.*

THOS. GREEN, *Ysgrifenydd.*

---

## AMRYWIAETHAU.

CYNNILDEB YSGOTAIDD.—Aeth rhyw ysgubellwr at eilliwr yn Glasgow i gael ei eillio. Prynodd yr eilliwr un o'i ysgubelli, ac wedi ei eillio, gofynodd ei phris. "Dwy geiniog," ebe'r ysgub-

ellwr. "Na, na," meddai'r eilliwr; "dyma geiniog i chwi; os nad yw hyn yn eich boddloni, cymmerwch eich ysgubell yn ol." Cymmerodd ef yr ysgubell, a gofynodd beth oedd arno i dalu am eillio. "Ceiniog," ebe'r eilliwr. "Dyma ddimai i chwi," meddai yr ysgubellwr; "ac os nad yw hyna yn eich boddio, gosodwch fy marf yn ol etto."

DIAREBION CYMREIG.—A achwyno heb achos, gwneler achos iddo. Adar o'r un lliw a dynant i'r un lle. Addaw teg a wna ynfyd yn llawen. Bid lyfn dy baderau, bid rydlyd dy arfau. Bo amlaf fo'r bleiddiau, gwaethaf fydd i'r defaid. Byrhoedlog a digasog Saint. Cyfaill blaidd yw bugail diog. Da yw Duw, hir a byth. Esmwythdra gwaith yw methu. Goreu cynneddfau cadw moes. Gormod esmwythder sydd anhawdd ei drin. Hanner y wledd hoffedd yw. Llawer gwir drwg ei ddywedyd.

JOKE MEDDWYN.—Cafodd trigolion tref yn Lloegr eu dychrynu unwaith, trwy glywed meddwyn un boreu yn bloeddio "Tân! tân!" "Pa le, pa le, y mae?" meddai ugeiniau allan trwy'r ffenestri. "Dyna beth sydd arnaf eisieu wybod," meddai yntau yn bwyllog, "canys y mae wedi newydd fyned allan o'm pib."

NIFER Y SAINT YN LLOEGR A CHYMRU.—Yn ol y cyfrif a roddwyd i mewn o'r gwahanol gynnadleddoedd, a gynnaliwyd yn Lloegr a Chymru yn misoedd Ebrill, Mai, Mehefin, Gorphenaf, ac Awst diweddaf, canfyddwn fod nifer y cangenau yn 393, yn cynnwys 12 o archoffeiriaid, 1177 o henuriaid, 1312 o offeiriaid, 805 o athrawon, a 466 o ddiaconiaid; wedi eu bedyddio mewn un chwarter blwyddyn, 3565; y cyfanswm o aelodau yn 22671. Yr oedd chwech cynnadledd heb roddi eu cyfrif i mewn.

CYMMWYNAS.—Mae y dyn sydd yn arferol o wneyd cymmwynas i rywun, pan yn ewyllysio peidio gwneyd ychwaneg iddo, yn cael ei ystyried yn waeth nâ'r hwn na wnaeth gymmwynas erioed. Mae caredigrwydd, wrth ei arfer yn fynych, yn dyfod i gael ei ystyried yn ddyledswydd; ac felly yn dysgu llawer i fod yn anniolchgar am yr hyn y maent wedi gael.

Y TRI PHERSON.—Tra yr oedd Iesu Grist yn yr Iorddonen gyda Ioan, yr oedd y Tad yn y nefoedd, a'r Ysbryd Glân yn disgyn i wared oddiwrtho at ein Harglwydd.

### YR YSGOLHAIG A'I WRAIG.

Dywedai gwraig wrth wr o ysgolhaig,<br>
"Gwyn fyd na bawn yn llyfr, yn lle gwraig;<br>
Edrychech arnaf wed'yn aml bryd;<br>
Ond carswn fod yn lyfr sydd o hyd<br>
Yn cael ei weled fwyaf genych chwi:<br>
Gan hyny, pa ryw lyfr fyddwn i?"<br>
"Caech fod yn Almanac," medd ef ar frys,<br>
"Can's gellir newid hwn bob deuddeg mis."

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 11.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. I.] TACHWEDD, 1849. [PRIS 2*g*.

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1849.

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

SYLWED PAWB.—Yr ydym yn gorchymyn i holl Lywyddion y Cynnadleddau trwy Gymru, i ddanfon i ni gynnrychioliad pob Cynnadledd, yn gywir a diffael, erbyn yr 20fed o Ragfyr nesaf, fel y gallom ninnau eu gyru yn ddioed at yr Apostol O. Pratt, er iddo ef gael allan gynnrychioliad Ewrop erbyn dechreu y flwyddyn. Na esgeuluser hyn mewn un modd, neu fe ddeuwn ni yn droseddwyr. Deued llywydd pob Cangen a'i gyfrif i'r cynghor, yn yr amser priodol.

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir y Cymmanfaoedd Chwarterol nesaf fel y canlyn:—Sir Benfro a Sir Aberteifi, ar y 30ain o Ragfyr; Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, yn Merthyr, ar y 6fed o Ionawr; Sir Gaerfyrddin, yn Llanelli, ar yr un pryd; Sir Fynwy, yn Nantyglo, ar y 15fed o Ionawr; a Chynnadledd Orllewinol Morganwg, yn Abertawy, ar yr un pryd.

ABEL EVANS.—Dymunwn alw sylw neillduol holl Saint y Gogledd at y ddyledswydd o gynnorthwyo y brawd teilwng Abel Evans i ymfudo gyda y llongaid nesaf. Efe sydd wedi ei benodi i arwain y Cymry dros y llwybr dyfrllyd tua Dyffryn y Llyn Halen, ac i fod yn nôd i saethau camgyhuddwyr ein gwlad am unwaith yn ychwaneg. Rhoddwn ganiatâd iddo i gasglu yn mhlith yr holl gangenau Gogleddol, er iddo gael digon i dalu am ei gludiad, ac am ei lafur diflino yn eu plith.

YR YMFUDIAD NESAF.—Dymunwn hysbysu yr holl Ymfudwyr i fod ar ddihun, a danfon eu henwau, eu hoedran, a'u rhag-daloedd i ni yn ddioed, os ydynt yn ewyllysio myned. Nid ydym yn addaw y gallwn dderbyn dim wedi y 1af o Ragfyr nesaf, gan y bydd yn rhaid i Pratt gael chwech wythnos i gytuno am long, a gwneyd y darpariadau angenrheidiol. Mae y gyfraith newydd yn ymofyn galwedigaeth neu grefft pob ymfudwr, ynghyd â'i genedl, gyda'i enw, ei oedran, a'i rag-dal; am hyny danfoner y cyfan atom ni yn ddioed.

☞ Derbyniasom lythyr o Minersville, America, yn rhoddi hanes y Saint Cymreig yn y parth hwnw, dan lywyddiaeth y brawd Thomas M. Richards, gynt o Ferthyr. Cynnrychiola ef ei gynnadledd, yn cynnwys pedair o gangenau, yn y rhai mae 10 o henuriaid, 3 o offeiriaid, a 2 o ddysgawdwyr; y cwbl yn 48. Bedyddiwyd 11 yn un o'r cangenau yn y tri mis diweddaf. Hysbysir ni fod cynnwysiad cyhoeddiadau Cymru yn cael eu copïo yn y misolion Cymreig yno, ac ysgrif gan y diweddar Barch. W. R. Davies, Dowlais, yn un o honynt, yn dweyd fod y "Sataniaid" wedi darfod gyda hwy yn Dowlais, trwy yr areithio a fu yno yn eu herbyn!

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 11.] TACHWEDD, 1849. [CYF. I.

### YSBRYD YN SYLWEDDOL, A DUW YN ANSYLWEDDOL.

NID oes dim yn fwy gwrthun nâ'r darluniad y mae sectariaid ein gwlad yn roddi o'r bod o Dduw. Mynant ei fod yn bobpeth, ac etto yn ddim. Dywedant fod ysbryd yn sylweddol; a thra y cydnabyddant fod Duw yn Ysbryd, dywedant fod yr Ysbryd hwnw yn ansylweddol ar yr un pryd. Dangosa y dernyn canlynol farn y Parch. John Griffiths, Trefgarn, ynghylch y bod o Dduw, pan yn ysgrifenu ar "natur angylion," yn y Diwygiwr" am Hydref, 1849, tud. 292:—"Oddiwrth eu natur gelwir hwy yn ysbrydion; nid yw hyn yn profi eu bod yn ansylweddol. Yn mhlith yr henafiaid nid oedd y gair ysbryd (awel gwynt) yn dynodi bôd ansylweddol, eithr bod anghorfforol ac anweledig. Galwent eu duwiau yn ysbrydion, ond rhagdybient fod ganddynt rywfath o gyrff awyrawl a theg. Ni wyddent hwy am un ystyr arall i'r gair ysbryd. Yn yr ystyr hwn y mae yr apostol yn ei ddefnyddio pan yn dysgrifio cyrff y saint ar ol yr adgyfodiad—'y mae cyrff ysbrydol.' Felly nid yw y gair ysbryd yn profi ychwaneg yn ei berthynas â'r angylion nâ'u bod yn cartrefu mewn cyrff mor awyrawl â chyrff y saint pan y byddant megys angylion Duw, a'r hyn a hauwyd mewn llygredigaeth wedi ei gyfodi mewn anllygredigaeth. Credwn mai un Bod gwir ysbrydol ac *ansylweddol* perffaith y sydd—Tad yr ysbrydoedd ei hun."

Dyna yw cyffes ffydd y parchedig dan sylw, sef credu mewn "un Bod gwir *ysbrydol* ac *ansylweddol* perffaith," a chredu hefyd fod gan ysbrydion "gyrff awyrol a theg," yr un fath â chyrff y

saint ar ol yr adgyfodiad! Mor ardderchog, onide? Os mai Duw yw tad yr ysbrydoedd, y mae ei blant yn hollol annhebyg iddo—ydynt, mor annhebyg ag yw rhywbeth i ddim. Nis gwyddom ni pa fodd y gall ysbrydion, fwy na dynion, ddal perthynas â Thad ansylweddol a dyddim, na pha fodd y gall dim roddi bodoliaeth i sylwedd. Mor annhebyg fydd "cyrff y saint" yn yr adgyfodiad, i gorff gogoneddus ein Harglwydd, pan yr ymddangosodd i'w ddyscyblion wedi adgyfodi. Yr oedd yno gnawd ac esgyrn (gwel Luc xxiv, 39), ac nid rhywbeth awyrol, fel y desgrifia y parchedig gyrff y saint. Gwell fuasai iddo ddweyd y byddai cyrff y saint yn debyg i gorff gogoneddus ein Harglwydd, a chyrff yr angylion yn debyg i gyrff y saint, nâ dweyd y peth a ddywedodd. Credwn ni, os yw Duw yn fod "ansylweddol perffaith," fod y rhai sydd yn ei addoli, yn talu eu haddoliad i Dduw nad adwaenir gan neb.

---

## ARAETH CAPT. JONES MEWN GWYL DE.

[PARHAD O DUD. 191.]

BRAWDOL GARIAD,—beth yw? Mae rhai yn meddwl nad ydynt yn rhwym o garu neb, ond eu brodyr yn ol y cnawd; ereill, ond eu brodyr crefyddol: ond nid wyf yn meddwl fod neb o'r Saint mor gul eu barn â hyny. Onid pob dyn yw ein brawd? oni wnaeth Duw o un gwaed bob cenedl? onid plant ydym oll i'r un rhieni? ac onid ydym wrth naturiaeth yn greaduriaid cymdeithasgar? gan fod ein Tad wedi creu ynom beirianau pwrpasol i gyfeillachu â'n gilydd er ein lles? Ac os nad oedd yn meddwl i ni gymdeithasu â'n gilydd, y mae wedi creu y cyfryw beirianau yn ofer; canys y maent yn gyfryw na ellir eu defnyddio at ddim arall; a pha fwyaf y cymdeithaswn â dynion daionus, mwyaf yr hoffwn eu cymdeithas, a mwyaf o les gwybodaethol a dderbyniwn; felly, pa fwyaf y cymdeithaswn â'r ffynnonell o oleuni a gwybodaeth, mwyaf awyddus fyddwn am ychwaneg o hyd. Ond, medd un, ni allaf fi hoffi cyfeillach hwn a hwn, neu hon a hon. Addefaf fod rhai eithriadau i'r rheol hon; ond beth yw'r achos na elli hoffi y cyfryw? mae dynion weithiau yn casâu eu gilydd ar yr olwg gyntaf; ond ynddynt hwy eu hunain mae y bai am hyny, canys pob casineb diachos o'r drwg y mae. Ereill a gasânt rai pobl, o herwydd iddynt glywed pethau drwg am danynt; ond

dylai y cyfryw ystyried nad yw hyny yn gwirio y cyhuddiadau hyny. Nid y'm esgusodol cyn profi y cyfryw bethau yn wir; ac hyd y nod wedi hyny, ni ddylem gasâu neb am ei fod yn ddrwg, ond caru y person a chasâu ei ddrygioni, ceiso ei ddiwygio a'i lesâu.

Mae rhai pobl yr hoffwn fwyaf ar y cyntaf; ereill, yr hoffwn yn fwy, po fwyaf yr adnabyddwn hwynt. Gwn hyn drwy brofiad; canys pan gyntaf y clywais sôn am y Mormoniaid hyn, a darilen cyhuddiadau eu gelynion yn eu herbyn, meddyliwn mai y bobl waethaf yn y byd oeddynt; ac er i mi addef nad teg barnu neb ar dystiolaeth eu gelynion, etto, er fy ngwaethaf, ni allwn lai nâ'u casâu a châs cyfiawn, os gwir y ganfed ran a glywwn am danynt. Etto, meddyliwn cyn eu gweled, eu bod yn rhyw bobl rhyfedd, os pobl hefyd; ac am ddyn a broffesai fod yn brophwyd, dychymmygwn fod hwnw yn rhwym o fod yn ddyn drwg, yn *gau-brophwyd*, ac y dylai fod cyrn ar ei ben; ac yn mhob peth yn wahanol i ddynion ereill. Ond pan trefnodd Rhagluniaeth i mi ddyfod i gyfeillachu â'r bobl hyny, gwelais fy nghamsyniad; a pha fwyaf y cawswn gymdeithas eu blaenoriaid, yn enwedig y gwr hwnw a gafodd y fraint o fod yn offeryn i sefydlu teyrnas Dduw yn y dyddiau diweddaf hyn, sef J. Smith, egluraf o hyd y gwelwn y camgyhuddiadau a gyhoeddwyd am dano. Pan welais ef gyntaf, yr oedd yr olwg arno mor hollol wahanol i bob desgrifiad a glywais o hono, fel mai anhawdd oedd credu mai efe oedd yno; yn lle yr ymddygiad ffroenuchel, *haughty*, a gormesol hwnw, yr oedd mor isel, mor ostyngedig, mor dirion ac addfwyn ei dymher, ag un dyn a welais; yn lle ymadroddion coeg a hanner call, fel y dysgwyliais, yr oedd ei eiriau yn dyferu doethineb fel y diliau mel; yn lle bod yn yspeilio ei ddilynwyr o'u meddiannau, i'w gyfoethogi ei hun, nid oedd yn cymmeryd ei gynnal ganddynt erioed, ond yn gweithio â'i ddwylaw ei hun er cynnal ei deulu. Argyhoeddwyd fi o'm camsynied i raddau wrth weled ei addfwynder, cariad ei frodyr ato yn gyffredinol drwy'r lle; ac ond barnu yn ol ei ymddygiad atynt hwythau, carodd hwynt hyd angau. Cefais y fraint o'i gymdeithas yn y dirgel a'r amlwg, fwy neu lai am flynyddau, a chlywed ei ddysgeidiaeth. Yr oeddwn yn Nauvoo, ïe, yn llettya yn ei dŷ ef, ar fusnes yn yr erlidigaeth ddiweddaf, yr hon a aeth â'i fywyd. Dilynais ef hyd Carthage, lle yr aeth o'i wirfodd, ar ddymuniad y rhaglaw, i sefyll y gyfraith, pan gyhuddid ef o drosedd; ac nid oedd y tro hwn

ond y seithfed tro a deugain y bu o flaen y llysoedd gwladol, a methodd ei elynion ei brofi yn euog o gymmaint ag un o'r holl gyhuddiadau hyny wedi y cwbl. Wedi myned i'r fan hon, clywais ei elynion yn tyngu ei fod yn fradwr yn erbyn y llywodraeth; pan holid y tyst yn mha fodd yr oedd yn fradwr, O syndod, dyma ei unig reswm, sef ei fod wedi clywed y carcharor yn pregethu oddiar Dan. ii, 44, "Yn nyddiau y breninoedd hyn, Duw y nefoedd a esyd i fyny freniniaeth," &c.; ac oddiwrth fod J. Smith yn profi fod y cyfryw deyrnas wedi ei sefydlu yn awr, casglent mai efe fyddai y brenin, ac i'r carchar ag ef heb ychwaneg o dreial; ac yno daeth ei elynion, wedi duo eu gwynebau, ac a ruthrasant arno, pan yno yn dysgwyl am ei dreial yn ol cyfraith ei wlad; ond nid oedd ganddynt un bwriad iddo gael treial, ond ei ladd; a'i ladd a wnaethant, a'i frawd, yn y modd mwyaf creulawn a barbaraidd. Yr oeddwn yn eu cwmni hyd y nod yn y carchar, hyd yr awr olaf; gwn iddynt farw yn ddieuog, yn ferthyron am eu crefydd yn unig, ac iddynt selio eu tystiolaeth yn wirfoddol â'u gwaed; ac onid aeth y rhai hyn i ogoniant, pwy a aeth yno? Ië, dynion duwiol, doniol, doeth, a da oeddynt hwy, er cymmaint a ddywedir i'w herbyn. Sicrhaf fod pob peth sy'n groes i hyn yn anwiredd am danynt. Heriaf yr holl fyd i ddyfod â thystiolaeth gadarnach na hyn i'r gwrthwyneb; a thystiaf hyn hefyd, mi wn, o flaen y frawdle fanwl, pan amlygir dirgelion pob calon. Pwy a ddywed nad oedd J. Smith yn caru ei frodyr hyd farw? Cywais ef yn gwrthod ymwared, pan y gallai fyned y ffordd a fynai, a dianc; ond dywedodd, "Nid af fi ymaith, ac achub fy mywyd ar gost bywydau fy mrodyr a'm chwiorydd; canys, os nad af, daw y mob yn eu cynddaredd, ac a losgant y ddinas, a lladdant y gwragedd a'r plant diniwed, hen ac ieuainc, yn ddidrugaredd, fel y darfu iddynt dair o weithiau yn Missouri. "O, na," medd gwr Duw, "gwell genyf farw, na gadael i neb o'm cyfeillion anwyl ddyoddef; myfi a af, a deued eu llid a'u cynddaredd arnaf fi; nid wyf yn ofni marw, ac yr wyf yn myned fel oen i'r lladdfa, a chydwybod rydd at Dduw a dynion." Aml waith y clywais ef yn rhagddweyd ei farwolaeth. Mae Saint yn meddu cariad brawdol; gallant ymffrostio o hyn: dyma esiamplau i'r holl fyd, os mynant.

Y mae y Saint yn caru yr holl fyd, ïe, eu gelynion; ond y maent yn caru eu brodyr sydd o'r un ffydd â chariad tragywyddol, o herwydd eu bod wedi derbyn cyfran o'r un Ysbryd, drwy gael

eu bedyddio i'r un bedydd, a dyfod yn ddeiliaid o'r un deyrnas nefol; a'r Ysbryd hwn sy'n eu tebygoli i'w gilydd, yn eu tebygoli i'w Duw a'u brawd hynaf: "canys Duw, cariad yw, ac Ysbryd Crist sydd yn eu dysgu i garu eu gilydd â chariad na ŵyr neb arall am dano. Mae yn dwyn ei ddelw; a châr plant Duw bob un a welant â delw Duw arno, o herwydd y ddelw hono. Yr Ysbryd hwn sy'n eu tywys i undeb y ffydd, a chyd-lawenhau y maent yn yr un gobaith gwynfydedig am amseroedd adferiad pob peth, pan y bydd cariad wedi ei berffeithio ynddynt oll. Oni ewyllysiech dderbyn cyfran o'r Ysbryd tangnefeddus hwn? Yna deuwch, a derbyniwch yn awr; eiddoch chwi ydyw, os derbyniwch ar yr un ammodau â phawb ereill a'i derbyniodd.

Beïir ar y Saint gan rai, eu bod yn annhrugarog iawn, ac yn condemnio pob athrawiaeth sydd yn groes iddynt hwy; o herwydd ein bod yn tystiolaethu ein sicrwydd o'r gwirionedd, ein bod ar y ffordd iawn, ein bod wrth hyny yn cyfeirio fod yn rhaid fod pob enwad arall yn cyfeiliorni. Ond, os yw y broffes hon yn ein profi yn annhrugarog, yna y mae y gyffelyb broffes yn profi ein Hathraw bendigedig, yr hwn a'n carodd nes rhoddi ei fywyd drosom, yn fwy annhrugarog na ninnau. Ar y tir yna, yr apostolion oedd y dynion mwyaf didrugaredd yn eu dydd; canys galwent hwy y bobl o feddyliau yr oes hono yn fwyaf crefyddol, defosiynol, ïe, o'r bron yn berffaith—galwai Ioan hwy yn hiliogaeth gwiberod, &c.; galwai Crist hwy â'r gwynebau hirion, â'r gruddiau pruddion, â'r gweddiau meithion, yn ragrithwyr, ac yn bobl ddrwg. "Pa fodd," medd efe, "y diengwch chwi farn uffern?' Mor amddifad oedd o ronyn o gariad brawdol, onide? Felly, un o'i apostolion a ddywed, "Ni a wyddom ein bod ni yn blant y goleuni, a bod yr holl fyd yn gorwedd mewn tywyllwch." Os ydym ni yn amddifad o gariad brawdol am hyn, yna yr oeddynt hwythau felly am yr un peth. Rhyfedda ambell un am i ni hòni hyn fel hwy; ond paham na ddyry y Duw anghyfnewidiol y cyfryw sicrwydd i ni â hwy, os ufyddhawn i'r un efengyl â hwy? Ond ffolineb i'r radd eithaf, yn ol fy meddwl i, yw i ddynion sy'n addef nad oes ond un efengyl, neu ffordd i'r nef, rodio ar hyd bawb ei ffordd ei hun, ac addef y gall y cyfan gyrhaedd yno! Mae hyn yn groes-ddywediad; nid yw waeth pwy a'i dywedo, na'r neb a'i haero, rhaid ei fod yn hollol amddifad o gariad brawdol, o achos mae'n arwain dynion i ddystryw tragywyddol heb yn wybod. Nid cariad ydyw hyn, ond yn hollol groes, sef diffyg a

gariad, mor eglur ag y byddai y dyn hwnw a welai ryw un dall yn cerdded ar ben pwll glo heb yn wybod, ac yntau ag ofn briwio ei deimladau drwy ddweyd wrtho ei berygl, nes iddo syrthio dros y dibyn i ddinystr. Pa fath gariad a fuasai hyny at y dall? Y cyfryw a ddymunai rhai deillion fod gan y Saint at eu cymmydogion. Ond cariad sy'n ein cymhell i rybyddio pawb a welwn yn cael eu twyllo, yn myned i berygl, er eu hachub; ïe, siwr. Nid yw gwir gariad yn cydfyned ag anghyfiawnder, na chyfeiliornad. Os yw Paul yn deall beth yw cariad brawdol, yna dywed nad yw cariad yn cydlawenhau â dim ond y gwirionedd, nac yn cydffurfio, na chymmeradwyo cyfeiliornadau. Beth, cariad Duw yn cymhell ni i addef cyfeiliornad yn wirionedd? Naddo erioed, ac ni wna hyny byth. Yna, gan fod cariad yn rodd mor werthfawr, ymdreched pawb am dani, canys y mae yn drysor anmhrisiadwy, a thragywyddol yn ei pharhad.

[Cawsom afael yn yr araeth ragorol uchod yn mhlith papyrau ein hanwyl frawd Jones, a meddyliasom y gallai ei chyhoeddiad fod yn dra boddhaol gan ein derbynwyr.—GOL.]

---

## GWELEDIGAETH HYNOD, A GWEINYDDIAD ORDINHAD GAN YSBRYDION.

EFALLAI na choelia llawer yr hyn ag ydym yn myned i ysgrifenu; ond ni chaiff hyny ein rhwystro i ddarlunio yr hyn a gredwn sydd yn wirionedd. Nid ydym yn myned i ysgrifenu yr hyn a glywsom o ben i ben, ond yr hyn a gawsom o'r ffynnonell ei hun, a hyny yn ngwyddfod y Llywydd Wm. Phillips, a thri o frodyr ereill. Ni wnawn ddigio wrth neb am beidio ein credu, a gobeithiwn na ddigia neb wrthym ninnau am hysbysu yr hyn a glywsom. Cyfaddefa pob dyn rhesymol nad yw gweledigaethau a phresenoldeb ysbrydion yn bethau anmhosibl i gymmeryd lle yn yr oes hon, yn fwy nag mewn oesoedd cyntefig; a phan y byddo rhywbeth neillduol yn dygwydd, y mae yn ddyledswydd ar bawb i'w fynegi, a hyny a wnawn ninnau y tro hwn.

Ar ddydd Llun, y 15fed o Hydref diweddaf, aethom yn nghwmpeini y brawd W. Phillips, ac un arall, i ymweled â brawd claf o'r enw William Jones, glowr, ac un yn byw yn Nhwynyrodyn, Merthyr. Yr achos o'n mynediad yno oedd, i ni glywed y nos flaenorol i rywbeth rhyfedd iawn ddygwydd iddo, a phenderfynasom i fynu gwybod y cyfan o'i enau ef ei hun, fel na buasem

yn cael ein twyllo. Wedi i ni gyrhaedd y tŷ, yn yr hwyr, cawsom fod y claf yn ei wely; a gwahoddodd ei wraig ni i'r llofft i'w weled. Yna, yn mhen ychydig, ceisiasom ganddo i adrodd yr hyn a gymmerodd le y dydd blaenorol, a thystiolaethodd fel y canlyn :—

"Dydd Mawrth diweddaf, cymmerwyd fi yn glaf iawn yn y gwaith, fel nas gallwn wybod dim oddiwrth fy hunan; a'r pryd y daethum ataf fy hun, oedd, pan oedd yr henuriad D. Thomas a'i ddwylaw ar fy mhen yn gweddio. Cefais fy adferyd gymmaint y pryd hwnw nes fy ngalluogi i fyned i'r gwaith dydd Mercher a dydd Iau, er nad oeddwn yn teimlo yn eithaf da. Prydnawn dydd Iau, cefais fy nharo yn glaf iawn eilwaith, nes gorfod cadw fy ngwely. Yn yr amser hwn yr oeddwn yn teimlo fel pe buasai rhyw darddiant yn codi yn fy mol, rywle yn agos i'r cylla, yr hwn oedd yn dra phoenus ac annyoddefol. Yr oedd hwnw hefyd yn achosi poen yn fy mhen. Yn y cyfamser yr oedd fy ysgarthion yn gynnwysedig o waed a chymmysgedd arall, yr hyn oedd yn fy mlino yn fynych. Fel hyn y parhëais hyd brydnawn ddoe, sef dydd Sul. Ychydig cyn dau o'r gloch, annogais fy ngwraig i fyned i gwrdd y Saint, fel y gallwn gael y prydnawn yn llonydd i mi fy hunan, i weddio a myfyrio. Llwyddais ganddi i fyned, a hi a gloiodd y drws ar ei hol. Wedi iddi hi fyned, teimlwn fy hun yn fuan yn myned lawer yn waeth, nes oeddwn yn meddwl fy mod yn myned i farw. Ar hyny, ymegnïais i weddio, a chefais awydd neillduol i hyny; ac wedi parhau felly hyd oddeutu tri o'r gloch, debygswn, cefais olygfa hynod iawn o'm blaen. Tra yr oeddwn rhwng eistedd a gorwedd yn y gwely, gwelais yn fy ymyl bedwar o fodau dysclaer, dau ar y llaw ddeheu, a dau ar y llaw aswy, megys yn sefyll neu benlinio o'm blaen ar y gwely. Yr oedd eu gwisgoedd yn llaes; ac ymddangosai gwisgoedd y rhai ar y llaw ddeheu yn dduon, ond y lleill yn wynion. Ymddangosai eu maintioli o ddwy i dair troedfedd; ond nid oeddwn yn sicr pa un ai penlinio oeddynt ar y gwely, ai peidio, o herwydd fy mod yn cyfeirio fy ngolygon tuag at eu gwynebau, yn fwy nag at un ran arall, oblegid eu bod yn edrych mor siriol a gogoneddus. Yr oedd rhyw oleuni dysclaer yn eu hamgylchynu, yr hwn a ddysclaeriai ar hyd y gwely, ac arnaf finnau hefyd. Ni theimlais un math o ddychryn ar y pryd, ond etto yr oeddwn yn parhau o hyd mewn poen mawr. Yn fuan, gofynodd un o'r ddau oedd ar y llaw ddeheu i mi, os oedd genyf olew yn y tŷ; ac heb eu hateb,

cyrhaeddais gostrelaid o olew oedd genyf o dan ymyl y gwely, yr hwn oedd yn dygwydd bod yno at fy ngwasanaeth. Yna gorchymynwyd fi i'w yfed; a thua y pryd hyny, debygswn fy mod yn gweled yr un nesaf ataf ar y llaw aswy yn plygu ei ben, fel pe buasai yn gwneuthur rhywbeth i'r tarddiant yn fy mol; a braidd na allwn ddweyd fy mod yn ei deimlaw fel yn cyffwrdd â'r fan hono. Wedi hyny, daethant yn nes at fy mhen, a gosododd y pedwar eu dwylaw arnaf, gan geryddu yr afiechyd i ymadael, a gweddio ar Dduw i gyflwyno y fendith. Yr oedd eu gweddi mewn Cymraeg, ac yn debyg i'r dull a arferir gan yr henuriaid yn gyffredin; ond fod eu hiaith yn burach a byrach o lawer, ac ymddangosent fel yn gweinyddu gyda mwy o awdurdod a phenderfyniad. Yn y fynyd y gweddiasant, teimlais y poen yn diflanu yn y fan, a'r tarddiant fel pe yn ymollwng i wared. Yna ciliasant yn ol i'r un man, a safasant yno gan syllu yn daer yn fy wyneb, yr hyn a barai i mi gryn hyfrydwch, gan fod eu cwmni mor bleserus genyf. Dywedasant wrthyf fod llawer o anmherffeithrwydd yn yr eglwys neu'r gangen y perthynwn iddi, a bod yn ofynol iddi i ddiwygio, yn gystal â fi fy hunan, o herwydd ei bod yn rhwystr mawr ar ffordd y gwirionedd yn y lle hwn. Meddyliwn y gallent fod yn bresenol gyda mi dros gymmaint ag hanner neu dri chwarter awr; a thra yr oeddynt yn syllu fel hyn yn fy wyneb, syrthiais yn fuan i gysgu. Ond cyn pen ychydig dihunais i gael ymarllwys, pan gefais wared o gyflawnder mawr o waed a phethau ereill; a chefais eu gwared mor llwyr y tro hwnw, nes nad oedd ond yr ysgarth arferol yn dyfod yr ail dro. Oddiar hyny nid wyf yn teimlaw un math o boen, ond fy mod yn parhau yn lled wanaidd, o herwydd yr holl waed a gollais. Ni fydd i mi byth anghofio yr olygfa a'r waredigaeth a gefais. Yr wyf yn awr yn 35 mlwydd oed, ac wedi bod oddeutu chwech mis yn aelod gyda y Saint, am yr hyn fraint yr wyf yn ddiolchgar i Dduw."

Yr oedd yr henuriad David Thomas, Dramroad, a John Williams, Twynyrodyn, yn bresenol yn clywed yr uchod, gyda ni ein tri; ac yr oedd David Thomas wedi clywed yr un peth o'i enau ef nos Sul hefyd.

---

## Y CRACH-FARDD HUNANOL.

Creadur annedwydd iawn yw y crach-fardd hunanol. Mae yn barhaus mewn pwd, ac yn y cornelau yn ysgyrnygu ei ddannedd

ar waith pawb ond gwaith ei hunan; canys ystyria waith ei hunan yn anffaeledig,—a phawb a ddangosant ei wall ef, a fyddant yn debyg o weled ei ddannedd. Yr ydym yn foddlawn cael ein rhesu gyda phob crach-fardd, ond gyda'r un hunanol: mae yn uffern i fod yn ochr hwnw. Gwareder ni mwyach rhag cyhoeddi dim o'i waith, rhag i ni, yn ein hurtwch, gyfnewid rhywbeth yn ei farddoniaeth, yr hyn a dŷn ei wg hunanol am ein penau; ond etto penderfynwn gyhoeddi y llythyr ardderchog a ddanfonodd atom trwy lythyrdy Hirwaen, yn ystod y mis diweddaf, yr hwn sydd yn dangos hunanoldeb crach fardd yn well nâ dim a welsom erioed. Dyma y llythyr, yn ei berffeithrwydd gwreiddiol, yn cael ei osod o flaen ein darllenwyr, a gobeithiwn na osodwn un llythyren yn lle y llall, rhag anurddo ei odidogrwydd :—

"Mr Golygydd—Yr wyf wedi bod yn sylwi ar Barddoniaeth David Thomas o Dowlais ar anerchiad ich Rheswm ag nid wyf yn gweled ei fod yn haeddy mwy o gamoliaeth nar rhai yr ydych chwi wedi gadw i chwi eich hunain canys yr ydym yn gweled colliadau yn ei waith ef yn benill flaunaf efe a ddywedodd fel hyn.

Fy anwyl gyfeillion Mae genyf gynghorion
Cynghorion neillduol rowd gan Paul apostol
I ddynion rhesymol trwy yspryd ei Dduw

yr wyf fi yn ystiried mae fel hyn y dylasau fod

Cynghorion neillduol rowd gan yr apostol
I ddynion rhesymol trwy ysprYd ei dduw

Wele yn awr yr wyf yn bwrw bai ar Mr. Golygydd na byase efe yn gweled fod y Bardd wedi colli r mesyr wrth ganu oherwydd ei ddyledswydd e yw sylwi yn fanwl ar bob peth ag y fyddo yn cael ei osod yn yr Udgorn pun au ydyw yn iawn au peidio ag os bydd iddo weled rhyw beth heb fod yn iawn dylech ei gymwyso fel y byddo yn addas i fyned o flaen pawb oherwydd y mae llawer o edrych ar eich gwaith chwi yn fwy na neb arall a thrwy hyny dylech fod yn fwy gwiliadwrus o hyn alla llaver sydd yn gweled y methiant ond nid ydynt yn ei hysbysu i chwi ond myfi ni gallaf dewi am fy mod yn gweled mewn manau eraill y mae gair yn y bedwarydd benill yr wyf ffaelu a dyall beth all fod y gair ond Pofion a effieithi- y mae y gair Pofion yn ddiarth hollol i fi oherwydd na chlywais ef or blaen y mae fy meddwl am y gair Pofion mae Profion ydoedd gan y Bardd ag mae ar y Argrphydd oedd y Bai yn awr yr wyf yn terfynu gan hyderu y bydd chwi ei osod yn eich Udgorn fel y byddo i bawb ei weled

SHON A DAFYDD."

Pa ddarllenydd na wel ardderchogrwydd neillduol yn y llythyr uchod? Pa le y bu yr ysgrifenydd heb amlygu ei bwerau yn

gynt? Pe gwybuasid am dano yn nghymmanfa Nadolig diweddaf, mae yn ddiau na ddewisid ni byth i fod yn Olygydd ar yr UDGORN. O, golled ddigyffelyb, na fuasai efe yn dadguddio ei hunan yn yr amser hwnw! Onid yw yn farnydd rhagorol? Mor graff ei olygon, onide? Gwelodd ar unwaith fod *r* yn eisieu yn "pofion," ac mai ffolineb oedd i'r prydydd enwi Paul. Beth gymmerai Shon a Dafydd yn dâl am edrych dros gopïau yr UDGORN cyn eu hargraffu? Y fath fendith a fuasai hyny i'r Saint Cymreig; ond ofnwn nad yw ein hennill yn ddigon i'w gwobrwyo am eu llafur; canys nid gwaith bach fydd ffurfio geiriau fel "diarth," "pun," &c., a'u gosod mewn dull grammadegol o flaen ein darllenwyr. Gallem feddwl mai yr un yw Shon a Dafydd, a'n bod yn ddiweddar wedi bod yn siglo llaw â Shon, yr hwn a fedd bar o *whiskers* golygus, digon addas i wneyd golygydd. Garw na wyddem ni pwy oedd Shon pan fuom yn cyfnewid ei hymnau, canys y mae yn awr yn dangos ein ffolineb yn mhob man y mae yn myned. Dynion ereill ddarfu ein perswadio ni y gallem gyfnewid hymnau er gwell, onide ni fuasem wedi ein dal yn magl y craffus frawd Shon. Wfft i ni erioed ei ddigio, a dyfod fel hyn o dan ei grafangau: ond gobeithiwn na thramgwydda neb wrthym am osod, yn groes i arferiad, lythyr dienw a nodau y crach-fardd hunanol hwn o flaen y cyhoedd, fel y gallont ei adnabod, a chilio oddiwrtho.

---

## DADGUDDIAD YN ANGHENRHEIDIOL ER ADNABOD DUW.

ER cymmaint mae'r Saint wedi ddangos ynghylch yr anghenrheidrwydd o gael dadguddiad cyn y gellir adnabod Duw, a'i anwyl Fab, Iesu Grist, ceir llawer o'n cyfeillion o'r byd etto yn parhau yn anghrediniol. Meddylia llawer fod eisieu dysg golegawl ar bawb, cyn anturio dysgu ereill; ac am nad ydyw y Saint wedi cael hyny, nad yw yn rhesymol i neb i'w credu. Gan hyny, ynte, gosodwn o flaen ein darllenwyr farn yr enwog Ddr. Dwight, ar y pwnc uchod. Edrycher i'r gyfrol gyntaf o'i Dduwiniaeth, yn nhud. 173, a cheir gweled a ganlyn:—

"Dadguddiad, fel y dangosais, yn ei ddechreuad cyntaf, ac yn ei barhad gwastadol, yw y wybodaeth o'r gwir a'r bywiol Dduw yn y byd. Dyma y wybodaeth fwyaf ei phwys o bob gwybodaeth, a'r un fwyaf anhebgorol anghenrheidiol tuag at ddedwyddwch

dyn. Pob daioni a ellir ei gael, oddiwrth Dduw y mae yn rhaid iddo ddeillio. Ond ni ellir dysgwyl un daioni parhaus a sylweddol oddiwrth Dduw, os na fydd efe wedi ei foddloni. Er ei foddloni, rhaid ufyddhau iddo, a chyn y gellir ufyddhau iddo, y mae yn rhaid ei adnabod. Ond heb ddadguddiad ni fu ef yn adnabyddus erioed yn y byd hwn. Felly, tuag at gyrhaedd daioni parhaus a sylweddol, y mae dadguddiad yn anhebgorol angheuraidiol, ac o bwys mawr."

Pwy erioed a lefarodd yn gallach na'r parchedig hyddysg uchod? Y mae wedi dangos yn amlwg nas gellir adnabod Duw, heb gael dadguddiad o hono. Dyna gredo y Saint yn gywir. Pob un sydd yn derbyn dadguddiad, oddiwrth Dduw y mae yn ei dderbyn, ac nid oddiwrth ddyn, nac oddiwrth lyfr ychwaith. Yr hyn sydd yn ddadguddiad yn yr ysgrythyrau, i'r rhai a'i hysgrifenodd yr oedd yn ddadguddiad, ac nid i ni. Mae yn rhaid i ni gael dadguddiad ein hunain, cyn y gallwn byth adnabod Duw; canys yr un ffordd sydd i bawb i'w adnabod ef. Os nad yw ein cyd-ddynion yn gwybod y ffordd i adnabod Duw, a dyfod i'r gwirionedd, doent at y Saint i gael eu dysgu, a dysgant hwy iddynt yr hyn a ddysgodd Iesu Grist gynt, sef "Pwy bynag a wnelo ewyllys Duw, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth." Ewyllys Duw yw yr hyn a ddysga ei weision; a'i weision yw y dynion hyny sydd yn gwybod eu bod wedi eu danfon ganddo, ac yn meddu awdurdod, trwy eu bod wedi cael eu galw a'u hordeinio yn rheolaidd. Gwna pob dyn call gredu dynion felly yn gynt nâ'r rhai sydd yn dweyd nad ydynt yn gwybod am eu danfoniad; canys y mae y rhai hyny, o anghenrheidrwydd, yn hollol anwybodus o ewyllys eu Duw.

---

## YR "UDGORN" YN GALW I SEION.

Yr Udgorn sy'n udganu! i Seion, Seintiau ffowch,
Rhag haint a phob ryw bläau, eich gwared yno gewch;
Yn ngwlad y Babiloniaid, caethiwed sydd yn fawr,
A Duw sy'n dechreu tywallt ei bläau yma 'nawr.

Ni awn, mae ef yn galw,—"Dewch allan, fy mhlant i,
Fel na bo'ch chwi'n gyfranog o'i phläau creulawn hi."
'Nawr gwell yw myn'd, a gadael y Babel wlad yn wir,
Wrth alwad daer yr Udgorn, cyn delo mwy o gur.

Can's daw yr amser etto, pan fydd y wylo'n fawr,
O herwydd peidio gwrandaw ar weision Iesu mawr;

A'r iaith fydd gwaeddi allan, "Och, na wrandawsem ni
Ar lais ein mwyn fugeiliaid; 'nawr ofer yw ein cry.

"Mae'r rhai a aeth i Seion er gwaethaf llid y byd,
Yn canu ac yn moli mewn gwaredigaeth glud;
Ond ni, rhai wrthodasom i fyned gyda hwy,
Sy'n nghanol newyn, pläau, heb obaith gwared mwy."

'Nawr, chwi sy'n meddwl 'madael, a gadael Babel gerth,
O perchwch Dduw a'i weision; bydd hyn i chwi yn nerth.
Nac ofnwch ddim o'r rhwystrau a ddichon ddod i'ch cwrdd,
Ond cofiwch am y goron, a'r eistedd wrth y bwrdd.

Pan ddelo'r Saint i Seion o bedwar cwr y byd,
Bydd yno wir lawenydd, heb ddichell gâs na llid,
Wrth wledda o'r danteithion, a'r newydd loyw win,
A phawb yn llawn o gariad, heb neb yn teimlo'n flin.

*Tre Sior.* T. H.

---

## AGORIAD EBENEZER, TY-CWRDD SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, YN ST. SERVAN, FFRAINC, AR Y 23AIN O FEDI, 1849.

ANWYL FRODYR, Wm. Phillips, John Davis, fy nghydwladwyr, a'r holl Saint,—Llawenydd yn ddiau fydd genych glywed fy mod wedi agor lle cyfleus yn nhref St. Servan, i bregethu yr efengyl dragywyddol, yn nghyflawnder ei bendithion, yn allu Duw er iachawdwriaeth i bawb a'i credo, ac a ufyddhao i'w hammodau, yn mhlith y Ffrancod, y Llydawiaid a'r Saeson a gyfanneddant y lle hwn.

Y mae hyn yn dystiolaeth i'r holl Saint, o wrandawiad gweddiau gyda'r Hwn a ddywedodd, "Ceisiwch, &c." Nid oedd y gynnulleidfa yn lliosog yn y boreu; ond yn yr hwyr, yr oedd yr olygfa i'r nefoedd a minnau yn orfoleddus. Nid oedd neb o'r parchedigion sectyddol yn bresenol i ddangos hyawdledd dysgeidiaeth golegawl, ond yr oedd yno Formon bach o Gymru, a thystiolaeth yn ei galon fod Ysbryd Duw wedi rhoddi iddo ychydig "ensignement" dysgeidiaeth go dda, mewn cyssylltiad â "les premiers principes du christianisme." Nid oedd genyf un brawd, nac un Jack ychwaith (y teitl ag y mae parchedigion Cymru wedi ei roddi i gannoedd o ddynion ieuainc hardd, sydd yn drech eu cymmeriad yn ngolwg Duw nâ'r "dynion sydd a'u serch arnynt eu hunain, yn ariangar, yn ymffrostwyr, yn feilchion, &c.), i ddechreu y cwrdd o flaen y pregethwr; ond gwnaeth hyny ei hun gydag hyfrydwch, a gallwn ddweyd yn ddiragrith,

"Y Pentecost—droes ofnau ffwrdd,
Daeth Ysbryd Duw i ddechreu'r cwrdd;"

canys cafodd gymhorth Ysbryd ei Dduw i weddio a phregethu.

Am hanner awr wedi deg y boreu, pregethodd "Mr. False Prophet, viz. Antichrist" (sef y teitl a gefais gan *glergymen*, viz. Parchedigion y lle hwn), oddiwrth Math. xxiv, 14, "Et cet evangile du royaume sera prêche par tout la terre habitable, en témoignage à toutes les nations, et alors viandra la fin." Cawsom wrandawiad da ac astud, a diolchwyd i ni yn barchus yn niwedd y cyfarfod, ac unodd yr oll â mi i ganu "Praise God, from whom all blessings flow," &c. Dechreuwyd y cyfarfod yn yr hwyr, am chwech, trwy ddarllen a gweddio. Nid oedd genym gôr o gantorion i ddyddanu y gynnulleidfa; ond fe unodd y gynnulleidfa â mi i ganu "Guide us, O thou great Jehovah, Saints unto the promised land," &c. Traddodwyd darlith mewn cyssylltiad â'r rhan ysbrydol o deyrnas nefoedd. Yn niwedd y cyfarfod, fe ddarfu i berson o'r enw Mr. Hall, eglwyswr, dreulio hanner awr gyda mi; ac wrth ymadael, ymaflodd yn fy llaw fel hen Gymro yn llawen, a thystiodd y buasai yn ymweled â mi eilwaith.

Y mae un o'r cyfoethogion yn St. Malo, wedi rhoddi ei enw i mi i fyned gyda'r cwmni cyntaf tua Seion! Tystiodd gwraig foneddig yn y lle hwn hefyd, y buasai hithau yn mynu gweled Seion—"The city of Zion on the sides of the north." Bedyddiais wraig foneddig ar y 30ain o Fedi, 1849, am ddau yn y prydnawn.

Y mae ei fawrhydi satanaidd wedi cynddeiriogi yn fawr, am fy mod wedi agor lle i bregethu. Y mae yn bwgwth, trwy ei weision crefyddol, fy ngosod yn y *black hole.* Un o'i weision, mewn cyssylltiad â'r Brewery, yn rhoddi gorchymyn i'r holl weithwyr "gofio nad elont i gyfarfod Saint y Dyddiau Diweddaf, oblegid fod gwaharddiad i'r cyfryw osod eu traed o fewn cyffiniau *property* y cwmpeini wed'yn." Gallwn gasglu oddiwrth yr uchod, os oedd y Saeson Protestanaidd mor gaeth yn eu gorchymynion, ac mor ofalus i wrthwynebu achos Iesu i fyned rhagddo; y mae yn rhaid fod y Catholic Priests sydd yn finteioedd yn cerdded pob heol, yn ofalus i wneyd eu rhan arnynt hwythau: "ond yr hwn sydd yn y nefoedd a chwardd; efe a'u gwatwar hwynt. Fy nghynghor a saif, a'm holl ewyllys a wneir, medd Duw." Amen.

Yr eiddoch oll yn yr Arglwydd,

WM. HOWELLS.

## LLYTHYR O'R COUNCIL BLUFFS AT Y LLYWYDD W. PHILLIPS.

*Swydd Pottowatamie, Iowa, Medi* 2, 1849.

ANWYL FRAWD PHILLIPS,—Y mae cryn bum mis er pan gwelais chwi yn Liverpool, ac yr ydwyf yn meddwl na anghofiwch chwi na minnau y dydd y cawsom yr olwg olaf, am dro, y naill ar y llall. Y mae yn agos i 8000 o filltiroedd rhyngwyf a gwlad fy ngenedigaeth yn bresennol; ond er hyny, mae y meddwl yn gallu ehedeg dros yr eigion mawreddig fel mellten amal dro, i syllu ar wynebau fy anwyl frodyr a chwiorydd sydd yn aros yna ar ol; eithr hyderaf cyn hir weled llawer o honynt yn canlyn i'r wlad ddymunol hon, fel y gallwyf siarad wyneb yn wyneb, a chydlawenhau yn yr Arglwydd, yn yr un wlad, a than yr un gronglwyd, fel yn y dyddiau gynt. Ond nid gwiw i mi, ar hyn o dro, ollwng rhaff i'm teimladau; rhaid ymwneyd â'r gwaith sydd yn dal cyssylltiad â'r holl saint anwyl yn gyffredinol. Yr ydym ni, y Cymry, yma wedi ymranu yn ddau ddosparth; un dosparth wedi myned yn y blaen tua gwastadedd y Llyn Halen, sef 22 o wageni, dan lywyddiaeth y brawd Jones; y dosparth arall yn aros yma i'r dyben o osod sefydliad Cymreig yn y lle. Bydd hyn yn fanteisiol i'r Cymry uniaith a fydd yn canlyn; oblegid bydd bobl o'r un iaith, ac o'r un wlad, a digon tebyg llawer un ag a fyddant yn eu hadnabod, ac wedi bod yn nghyfeillach eu gilydd lawer tro, i'w groesawi i'r wlad newydd hon; o herwydd nid oes ond Saeson yma am rai cannoedd o filltiroedd;—ninnau yn ddyrnaid bach o Gymry yn eu plith, yn frodyr a chwiorydd, yn mwynhau ein rhyddid fel yr adar, heb neb yn dweyd gair yn ein herbyn, ond yn gyfeillgar iawn bawb o honynt. Yr ydwyf fi yn byw yn y tŷ lle yr oedd George A. Smith, yr apostol, a William Rowland o Hirwaen yn nhŷ Ezra T. Benson, yr apostol. Yr ydym oll, rhwng dynion mewn oed a phlant, yn 113 o rifedi—mwy o rifedi o Gymry yn y gangen hon, nag oedd yn nghangen Merthyr pan y bedyddiwyd fi; a gobeithiaf y parha yn 113, hyd nes y bydd ychwanegiad ati o Gymru, oblegid nid oes genyf le i ddysgwyl rhagor i ymuno â ni, canys Saint sydd yn toi y tir; etto dichon ambell i un ddyfod o'r bydoedd uchod. Y mae'r Saint Cymreig yn caru eu gilydd yma, ac wedi priodi hefyd. Ni wnaf eu henwi yn bresennol; cewch glywed etto. Yr ydym ni, y Cymry, a'n tiroedd, agos i gyd, yn *joinio* ein gilydd; ac y mae y

brawd Jones wedi prynu *claim* tir ag sydd yn 150 neu ragor o erwau, ar bwys ein tiroedd ni, ac wedi ei roddi dan fy ngofal i, fel anrheg i'r Cymry. Yr ydym yn bwriadu adeiladu tŷ cwrdd arno, mor gynted ag y gallom; ac yr ydwyf yn meddwl na fydd hyny ddim yn hir, oblegid mai grym ein gwaith drosodd, ein cynauaf gwenith heibio, y cwbl yn yr ydlan. Dymunaf arnoch fy nghofio at y Saint yn gyffredinol. Y mae yr holl Saint Cymreig yma yn eich anerch, ac hoff iawn fyddai ganddynt weled llong-lwyth yn dyfod drosodd y Gwanwyn nesaf. Os gallant gael cymmaint â £7 y pen, gallant ddyfod hyd yma; ac os na allant fyned yn mhellach, byddant mewn tair blynedd, neu ddwy efallai, â digon o ychain a gwartheg i fyned yn y blaen. Sicr ydwyf o hyn, fod rhai yn y cwmpeini hyn ag oedd heb un geiniog yn lanio yma, fod ganddynt wartheg a lloi yn bresennol; ïe, ac ni wn i am neb teuluoedd yn y wlad yma heb fuwch neu ddwy. Yr ydwyf mewn brys, a therfynaf gan ddymuno y bydd i'r Arglwydd grasol eich bendithio chwi a'ch teulu, a'r Saint oll sydd dan eich gofal.

Yr eiddoch, &c.,

WILLIAM MORGAN.

O.Y.—Mae y brawd Jones am i chwi anfon Abel Evans efo y cwmni nesaf, os gellwch ei hebgor. Cewch glywed etto oddiwrthyf ar fyr dro. Da iawn fyddai genyf gael ateb i'r epistol hwn, ac ychydig o hanes fy chwaer Anne. Mae y brawd Jones yn cynnyddu yn ei iechyd, a'r chwaer Jones a'r plentyn yn eithaf iach.—Saith punt a ddywedais a fyddai yn ddigon i un ddyfod drosodd; meddylied y cyfryw y dichon wario £14, ïe, £28, os bydd yn dewis, heb symud fawr camrau ar ystrydoedd Liverpool: ac os bydd i ryw un neu rai wastraffu eu harian, gobeithiaf na fydd neb yn fy meio i am ddweyd fod £7 yn ddigon. Cewch glywed etto yn fanylach am brysoedd pethau ar y daith, a phrisoedd y nwyddau a fydd yn anghenrheidiol. Gellwch ddysgwyl hyny yn mhen mis, neu yn gynt efallai.

---

## NEWYDDION AMERICANAIDD.

MAE yr holl newyddion o'r Llyn Halen, Council Bluffs, &c., yn fwy dyddanus nag erioed, a bwriadau Duw yn cael eu hamlygu yn barhaus. Byddai yn dda genym i gael lle i gyhoeddi yn gyflawn yr hyn a ddarllenasom y mis hwn ynghylch y Saint yn y lleoedd uchod; ond ni chaniatâ maintioli ein cyhoeddiad i ni

roddi ond rhyw grynodeb byr o'r cwbl, a rhaid i ni ddadwneyd cyfran o'n gwaith er cael lle at hyny.

Gwelsom ohebiaeth yn y "Liverpool Mercury," yn rhoddi desgrifiad ardderchog o Ddinas y Llyn Halen, gan un o wyr y byd a fu yno. Dyweda fod lluoedd o'r ymofynwyr am aur yn pasio trwy y ddinas hon ar eu taith, y rhai ydynt yn rhyfeddu yn fawr wrth ganfod y fath sefydliad blodeuog, mewn lle mor ddyeithr, a'r cyfan dim ond cynnyrch ychydig o fisoedd. Mawr oedd eu llawenydd, wedi teithio cymmaint o anialwch, i ddyfod, yn ddisymmwth ac annysgwyliadwy, i ddyffryn mor baradwysaidd a newydd, lle yr oedd heolydd mawrion, o amryw filltiroedd, yn agor o'u blaen, wedi eu britho gan filoedd o dai, a gerddi a maesydd eang oddiamgylch yn bywiogi yr olygfa. Yn ofer yr edrychent am dafarndai, siopau masgnachwyr a chrefftwyr, eillwyr, &c.; canys deallasant yn union nad oedd eisieu tafarndai yno, ac er fod yn y lle bob dosparth braidd o grefftwyr, etto nid oedd gan neb amser i osod eu harwyddion uwchben eu drysau, a chafwyd fod pawb yn eillio eu hunain. Os oedd y Mormoniaid yn ladron ac yspeilwyr yn y Taleithiau, bernid nad oedd yn bosibl eu bod felly yma, lle y maent mor bell oddiwrth bawb. Mae yma bawb yn gweithio, ac yn medi o'u cynnyrch eu hunain. Rhywbeth yn y dull yna y mae'r gohebydd dan sylw yn desgrifio y Saint a'r "Amherodraeth Formonaidd," fel ei gelwir. Bu yn gwrandaw Brigham Young yn areithio ar wahanol bynciau, yr hwn a'i boddlonai yn fawr; ac ymddangosai yr holl wrandawwyr, y rhai a ddaethent ynghyd, rhai ar draed, rhai mewn cerbydau, ac ereill ar feirch, yn dra thrwsiadus a boneddigaidd.

Mae yr hanesion diweddaraf o'r Dyffryn sydd yn y "Frontier Guardian," dyddiedig Medi 3, yn desgrifio yr holl gnydau mewn cyflwr rhagorol, a bod llawer o dylwyth yr aur yn cael eu bedyddio yn barhaus, a'r Indiaid oll yn gyfeillgar ac awyddus i gael eu dysgu a'u gwareiddio. Mae y Saint yn gwneyd bargenion da gyda'r aur-deithwyr, y rhai a roddant dair o wageni trymion yn mhen un ysgafn, a phâr o ychain efallai yn y fargen. Prynir llawer o bethau yno yn bresennol, yn rhatach o lawer nag y gellir eu cael yn St. Louis. Dywedir fod llawer o'r Indiaid wedi dyoddef oddiwrth y cholera.

Cawsom yr hyfrydwch hefyd o ddarllen llythyron oddiwrth yr Apostolion G. A. Smith ac E. T. Benson, y rhai a ysgrifenent o o Wersyll Israel, un pan oedd 208 o filltiroedd o Council Bluffs,

a'r llall pan oedd 72 o filltiroedd yn nes at y Llyn Halen. Mae y gwersyll yn myned yn y blaen yn gysurus iawn, ac o dan lywyddiaeth y brodyr uchod. Gwelsom, yn mhlith enwau swyddogion ereill yn y gwersyll, enwau anwyl Capt. D. Jones, Thomas Jeremy, a Daniel Daniels—y blaenaf yn farshal, a'r ddau olaf yn gadpeniaid ar ddegau. Mae y gwersyll wedi ei rannu yn ddau, ac y mae'r Cymry yn nghwmpeini G. A. Smith; ond y mae'r ddau gwmpeini yn cadw yn agos i'w gilydd o hyd. Cynnwysa y gwersyll Americaniaid, Saeson, Cymry, Norwegiaid, &c., ond etto mae pawb yn un. Mae y Saeson yn gwneyd yn dda, a'r Cymry yr un fath. Maent â phob peth ganddynt wrth eu heisieu, a phawb yn llawen ac wrth eu bodd; yn y prydnawnau, ar ol cylymu yr anifeiliaid, gellir clywed y gwersyll yn dadseinio gan ganiadau Seion. Dywedir fod Capt. Jones yn deall ei waith, a'i fod wedi cyflawni gorchestion yn ei wlad enedigol, a dwyn oddiyno ei flaenffrwyth dros y dyfnder mawr. Mae cyfrif y gwersyll fel y canlyn:—129 o wageni, 467 o eneidiau, 125 o wyr, 23 o geffylau, 1 mul, 4 pony, 514 o ychen, 243 o wartheg, 70 o anifeiliaid ereill, 100 o ddefaid, 12 o foch, 74 o ieir, 22 o gathod, 26 o gwn, 21 o hwyaid, 4 o dwrcïod, 2 o golomenod; 157 o ddrylliau, 38 o bistolion; dwy briodas, dwy enedigaeth, a dim marwolaethau. Darfu i'r ymfudwyr gael eu dychrynu i raddau, unwaith neu ddwy, trwy fod yr anifeiliaid yn tori yn rhyddion ar ganol nos, a ffoi yn mhob cyfeiriad, gan roddi llawer o waith i'r gwyliedyddion ac ereill i'w hela yn ol. Dyna yr amser yr amcana yr Indiaid ledrata anifeiliaid y Saint; ond o hyn allan, trefnir ffordd i'w sicrhau yn well, trwy gylymu rhai y tu fewn i gylch y gwersyll, yr hwn a gyfansoddir o'r wageni. Mae y wageni wedi eu toi yn gysurus, ac ynddynt y trefnir y gwelyau i gysgu; a mynega y gwiliedydd oriau y nos, gan ofalu am gysur a diogelwch ei frodyr yn mreichiau cwsg. Hysbysir fod cwmpeini Orson Spencer ychydig o'u blaen, ac hefyd yn dra llwyddiannus.

Yn awr, credwn ein bod, mewn ychydig o le, wedi rhoddi sylwedd amryw o lythyron meithion, ac y bydd yr hanes uchod yn dra blasus gan ein brodyr a'n chwiorydd Cymreig, tra y maent yma yn hiraethu am fyned i'r wlad well. Mae Brigham Young, yn ei epistol diweddar at y Saint yn y Council Bluffs, yn awgrymu wrth y tlodion am fod yn ymarhous, am y daw Saint y Llyn Halen, yn mhen amser, yn ddigon galluog i'w cynnorthwyo i ddianc allan o Babilon orthrymus. Henffych i'r dydd, ynte!

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR FON.

CYMMANFA chwarterol y gynnadledd uchod a gynnaliwyd ar y 14eg o Hydref, pan y cymmeradwywyd yn unfrydol fod yr Henuriad Thomas Morgan i lywyddu y gynnadledd. Yna y llywydd a alwodd am gynnrychioliad ei gynnadledd, yr hon sydd yn cynnwys tair cangen, sef Pontmenai, Bangor, a Chaernarfon, yr oll yn gadarn yn y ffydd, ac yn cynnwys 7 o henuriaid, 6 o offeiriaid, 3 o athrawon; 16 wedi eu bedyddio o fewn y tri mis; y cyfanswm yn 58. Sefydlwyd cangen yn Nghaergybi, a William Isaac yn llywydd; a gosodwyd David Williams i lywyddu ar Bangor, a Frederick Cross ar Bontmenai. Bedyddiwyd un yn y gynnadledd, yr hwn hefyd a gadarnhawyd yno. Yr oedd pawb yn ymddangos yn benderfynol o blaid y ffydd, ac i fod yn fwy ffyddlawn nag erioed. THOMAS MORGAN, *Llywydd.*

### SIR GAERFYRDDIN.

Y drydedd Gymmanfa yn y sir hon, a gynnaliwyd yn y Farchnadfa, yn Nghaerfyrddin, ar yr 21ain o Hydref. Wedi i'r llywydd agor y gymmanfa, ac anerch y dorf, galwodd am gynnrychioliad y gynnadledd, yr hon a gynnwysai 14 o gangenau, yn cynnwys 59 o henuriaid, 30 o offeiriaid, 24 o athrawon, 17 o ddiaconiaid; bedyddiwyd er y gymmanfa ddiweddaf, 119; y cyfanswm yn 585. Rheoleiddiwyd 5 o gangenau newyddion, sef, yn Llansawel, a W. Thomas yn llywydd; yn Pontyberem, a J. Evans yn llywydd; yn St. Clears, a H. Evans yn llywydd; yn Cydweli, a J. Treharn yn llywydd; ac yn Llansaint, a Ben. Thomas yn llywydd. Areithiwyd yn y gwahanol gyfarfodydd, gan y brodyr John Davis o Ferthyr, Thomas Pugh, Wm. Jones, Wm. Williams, Walter Rodge, John Evans, a Ben. Jones, &c. Yr oedd lliaws mawr o wrandawwyr, a'r oll yn foneddigaidd ac astud. Talwyd diolch i Faer y dref, a boneddigion ereill, am eu caredigrwydd. Penderfynwyd fod y gymmanfa nesaf i fod yn Llanelli. Gosododd y llywydd gerbron yr angenrheidrwydd o fod gan bob Saint yn ei feddiant yr EURGRAWN YSGRYTHYROL, sef y llyfr hwnw ag y collodd ein hanwyl frawd Capt. D. Jones lawer o'i gysgu i weddio am i'r Arglwydd roddi iddo gyfarwyddyd ei Ysbryd Glân, ac ymprydio hefyd, gyda dyben, fel na byddai y Saint i syrthio i dywyllwch. A phe bydddai y llyfr hwn yn feddiannol gan Saint, fe fyddai llai o waith gan y swyddogion eu dysgu. Cynghorodd yr holl Saint wneuthur pob ymdrech ag sydd yn eu gallu, i feddiannu y llyfr gwerthfawr hwn mor fuan ag y byddo modd. Felly terfynwyd y gymmanfa, a phob onest ei galon gwedi ei foddloni.

H. WILLIAMS, *Llywydd.*

### SIR BENFRO.

Cynnaliwyd y gymmanfa uchod yn Hwlffordd ar y 4ydd a'r 5med o Dachwedd; a chynnrychiolwyd deg o gangenau, yn cynnwys 15 o henuriaid, 12 o offeiriaid, 6 athraw, a 3 diacon; bed-

yddiwyd er y gymmanfa a gynnaliwyd yn Ngorphenaf, 74; y cyfanswm yn 159. Anerchwyd y gwahanol gyfarfodydd gan y Llywydd, a chan y brawd Wm. Phillips o Ferthyr, ac amrywiol o frodyr ereill. Ymddygodd trigolion Hwlffordd y tro hwn yn eithaf anfoneddigaidd, trwy ymgrynhoi yn unig er mwyn terfysgu. Mae yn debyg mae eu dial oedd hyn, o herwydd i amryw o honynt gael eu dirwyo yn drwm am geisio boddi un o offeriaid y Saint, yr hwn oedd wedi bedyddio rhywun, ar ei ddymuniad ei hun, ag a fu farw ar ol hyny o'r cholera. Ar y cyfan, cafwyd cymmanfa lled dda, ac ymddangosai pawb yn benderfynol.

J. MORRIS, *Llywydd.*

### SIR DDINBYCH.

Cynnaliwyd cymmanfa sir Ddinbych, ar yr 21ain o Hydref, yn yr hon y cynnrychiolwyd tair cangen, yn cynnwys 8 henuriad, 9 offeiriad, 5 athraw, a 4 diacon; bedyddiwyd er y gymmanfa o'r blaen, 26; cyfanswm, 109. Galwyd i swyddi 1 henuriad, 2 offeiriad, 1 athraw, ac 1 diacon. Sefydlwyd cangen yn Dinbych, a'r brawd Wm. Parry yn Llywydd. JOHN PARRY, *Llywydd.*

### SIR FYNWY.

Cynnaliwyd y gymmanfa uchod ar yr 21ain o Hydref, yn Neuadd y Greyhound Inn, Nantyglo, pryd y cynnrychiolwyd 18 o gangenau, yn cynnwys 78 o henuriaid, 18 o offeiriaid, 27 o athrawon, a 23 o ddiaconiaid; bedyddiwyd er y gymmanfa flaenorol, 172; y cyfan yn 692. Rheoleiddiwyd un gangen newydd, a galwyd amryw i wahanol swyddi. Yr oedd y neuadd fawr yn orlawn o Saint a gwrandawwyr trwy y gwahanol gyfarfodydd. Cafwyd grymus weithrediadau Ysbryd yr Arglwydd yn fwy nag mewn un gymmanfa flaenorol yn sir Fynwy. Cawsom lawer o hyfrydwch wrth wrandaw y Llywydd Phillips yn ein haddysgu yn nyfnion bethau Duw. THOS. GILES, *Llywydd.*

### SIR FEIRIONYDD.

Cynnaliwyd cymmanfa sir Feirionydd, yn Machynlleth, ar y 4ydd o Dachwedd, lle cynnrychiolwyd cangenau Ffestiniog, Harlech, Machynlleth, Llanbrynmair, a Thowyn, yn cynnwys 12 o henuriaid, 5 o offeiriaid, 2 athraw, ac 1 diacon; 6 wedi eu bedyddio; y cyfan yn 63. Pregethodd amryw ar yr achlysur.

ELIEZER EDWARDS, *Llywydd.*

### CYNNADLEDD DDWYREINIOL MORGANWG.

Cynnaliwyd y gymmanfa chwarterol perthynol i'r gynnadledd uchod, ar yr 28ain o Hydref diweddaf, yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr. Ymgynnullwyd am ddeg yn y boreu, pan yr anerchodd y Llywydd y cyfarfod, yn nghylch eu dyben o ddyfod ynghyd. Ymhelaethodd ar undeb corff Crist, yn dra effeithiol. Galwodd wedi hyn am gynnrychioliad y cangenau, y rhai ydynt ugain mewn rhifedi, yn cynnwys 124 o henuriaid, 83 o offeiriaid, 95 o athrawon, a 39 o ddiaconiaid; wedi eu bedyddio er y gymmanfa ddiweddaf, 332; y cyfanswm yn 2326. Sylwedd y

Llywydd ar y ddoethineb o beidio galw mwy o swyddogion nag sydd o wir anghen am danynt. Yna wedi i'r ysgrifenydd anerch y dorf yn Saesneg, ynghylch teyrnas Dduw, gohiriwyd hyd y prydnawn, pryd y treuliwyd y rhan fwyaf o'r cyfarfod i ddysgu y Saint, gan y Llywydd. Yna, wedi galw ychydig o swyddogion, galwyd ar yr ysgrifenydd i anerch y dorf, yr hyn a wnaeth ynghylch "halen y ddaear." Am chwech, areithiodd y Llywydd, Wm. Evans o Rymni, Geo. Byewater, Thos. Pugh, Phillip Seix, Thos. Giles, John Jones o Gellifaelog, a John Jones o Sir Frycheiniog. Diolchodd y Llywydd i'r gynnulleidfa am eu boneddigrwydd. Penderfynwyd cymmeradwyo llywyddiaeth Brigham Young a'i gynghorwyr, y ddeuddeg, Capt. Jones, a Wm. Phillips a'i gynghorwyr, &c. Cafwyd cymmanfa ardderchog, a'r gynnulleidfa braidd yn fwy nag arferol. Rhwng pob araeth, difyrwyd y gynnulleidfa gan y cantorion Cymreig a Seisnig, mewn modd tra dylanwadol; a diau i'r canu wneuthur cymmaint o les, yn ei gylch, â nemawr beth arall. Rhybyddiwyd pawb sy'n meddwl ymfudo, i barotoi ar frys. WM. PHILLIPS, *Llywydd.*

---

## AMRYWIAETHAU.

**RHYFEDDOD.**—Synai un dyn yn agos i Gaerdyf, ei fod wedi clywed cymmaint â deuddeg o'r Saint, oll yn pregethu yr un peth!

RHYFEDDODAU NEFOL YR INDEPENDIAID.—Yn nghymmydogaeth y Brynmawr yn ddiweddar, bu gwr dysgedig yn pregethu am ryfeddodau y nefoedd, yr hyn a achosodd syndod a sobrwydd trwy yr holl gynnulleidfa. Dywedai mai y rhyfeddod cyntaf yn y nefoedd, fydd gweled rhai yno nad oedd yn feddwl; yr ail, fydd methu gweled yno y rhai oedd yn dybied a fyddai; a'r trydydd, a'r mwyaf o'r cyfan, fydd gweled ei hunan yno!!—T. G.

ANNHREFN Y BEDYDDWYR.—Y mae llawer wedi dyfod at y sect hon yn ddiweddar, o'r rhai a argyhoeddwyd gan y Cholera; ac yr oeddynt yn cael eu derbyn yn aelodau fel y canlyn:—Rhai trwy osodiad dwylaw y gweinidog; ereill heb osodiad dwylaw; ac ereill drachefn, trwy ddeheulaw cymdeithas!—T. G.

SIOMEDIGAETH BREUDDWYD.—Breuddwydiai rhyw banwr ei fod wedi cael gafael mewn botelaid o *gin*; ac yn ei frys mawr yn chwilio am lestr er cael dwfr twymn, tarawodd ei droed yn erbyn y crochan, nes y deffrodd o'i gwsg cerddedawl; ac, O, y fath siomedigaeth a gafodd! canys bloeddiodd allan, "O, na buaswn wedi ei hyfed pan ei cefais gyntaf."—T. H.

CYBYDD.—Yr oedd awydd ar gybydd gwledig i glywed offeiriad y plwyf yn pregethu, ac awydd hefyd i fugeilio ar y mynydd, rhag talu neb arall; ac i'r dyben o gyflawnu y ddau beth, prynodd yspïenddrych er tynu yr eglwys yn nes ato, fel y gallai glywed y pregethu, a chael bugeilio hefyd.—T. H.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 12.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. I.] RHAGFYR, 1849. [PRIS 2*g*.

## CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1849.

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

☞ Mae amrywiol o ohebiaethau ar law genym, y rhai a gyhoeddwn yn ol eu teilyngdod. Gwyddom am deimladau gohebwyr siomedig, gan i ni fod yn gohebu ein hunain, a chael ein siomi lawer tro. Diffyg lle yw yr achos na ymddangosodd rhai gohebiaethau y mis hwn a'r un diweddaf.

☞ Mae y gorchymynion a roddwn o bryd i bryd yn ein cyhoeddiad, i gael eu cyflawni gan y gwahanol lywyddion, onide byddant yn cael eu dwyn i brawf. Nid oes dim yn yn cael ei orchymyn na'i ddysgu genym, nad yw y prif Lywydd yn cydsynio. Mae yn ofidus genym i bregethu i ddynion cysglyd, ac ysgrifenu i ddynion na fedrant ddarllen, ac na ewyllysiant ddysgu darllen. Maent megys olwynion allan o'u lle, yn gwrthod cydweithio, ac yn attal ereill.

AT Y LLYWYDDION OLL.—Gorchymyn arall a roddwyd i ni hysbysu i chwi, fod yn rhaid i chwi, gyda dechreu y flwyddyn newydd, ac o hyny allan, i gadw cyfrif o weithredoedd pob aelod, mewn llyfr yn mhob Cangen, fel y byddo i'w ddangos etto yn Seion. Gosoder i lawr ynddo yr hyn y mae pob un yn gyfranu at rent yr ystafell, y deml, ac at lyfrau, megys yr Udgorn, a thraethodau ereill: bydd y cyfrif yn dyfod i wyneb pawb yno, a gellir cael gweled pwy fu yn cario y gwaith yn mlaen yn Nghymru, fel y byddo pawb yn cael ei wobrwyo yn ol ei lafur.

"T. D."—Yn hytrach na gwahardd gweddio yn yr Ysbryd, dylid annog pawb i ymestyn at y ddawn hono, fel doniau ereill. Mae gormod o esgeuluso wedi bod ar y ddawn hon. Gweddier am dani, a byddir yn sicr o'i chael etto.

"J. Th—s."—Nid oes achos i'r Saint ddyoddef dim afresymol. Mae aflonyddu tŷ addoliad yn gospadwy gan gyfraith y wlad, a bydded i chwi ddwyn y dyhirod hyny i brawf, fel y gwnaed yn ddiweddar yn Abergele. Yno cafodd rhai eu dirwyo yn drwm am aflonyddu y Saint; a dywedai y prif ustus wrthynt y buasai y ddirwy yn £40 y tro nesaf, i bwy bynag a droseddai felly eilwaith. Sylwodd hefyd y dylai'r Saint gael yr un chwarae teg ag ereill i addoli, a gwae y sawl a'u rhwystrai. Mae yn ddrwg genym i ni fethu cyhoeddi yr hanes dyddorol oddiyno, gan y brodyr J. Parry ac Abel Evans.

"W. G"—Ydyw, y mae yn hollol anweddus i'r henuriaid eistedd yn mhell yn ol mewn cwrdd Saint; ac yn fwy anweddus fyth i'r cynghorwyr—eu lle hwy i'w bod yn agos i'r llywydd.

☞ Dymunwn hysbysu ein darllenwyr dwy-ieithog fod genym ffordd yn awr i gyhoeddi pob newyddion mor gynted a'r STAR.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 12.] RHAGFYR, 1849. [CYF. I.

### "ATHRAWIAETH IACHUS."

"Canys daw yr amser pryd na ddyoddefant ATHRAWIAETH IACHUS; eithr yn ol eu chwantau eu hunain y pentyrant iddynt eu hunain athrawon, gan fod eu clustiau yn merwino."—2 TIM. IV, 3.

PA le y ceir gafael mewn "athrawiaeth *iachus*?" Mae digon o athrawiaethau ereill yn ein hymyl. Gallem feddwl fod rhai yn ei chael ar droion; ond erbyn chwilio, rhyw Armin neu Galfin sydd yn clywed ei athrawiaeth ei hun, ac yn ei galw yn iachus. Yr oedd athrawiaeth Iesu Grist a'i apostolion yn athrawiaeth iachus; ond y mae amser mawr oddiar hyny, a dichon fod yn anhawdd iawn yn bresennol i gael gafael ynddi. Er hyny, nid yw y byd mor eang, os oes athrawiaeth iachus i'w chael ynddo, nas gellir dyfod o hyd iddi. Ond cyn gwneyd un math o ymchwiliad am dani, dylem feddu ei nodau yn gyntaf; ac wedi cael ei nodau yn gywir, bydd yn eithaf rhwydd i gael gafael ynddi, lle bynag y mae. Na ofaled neb pa le y ceir hi, nac wrth ba enw; canys ei chael yw mater ein hymchwiliad. Wrth eu nodau, ynte, y mae ei hadnabod; a gellir gweled ei nodau oll yn y Testament Newydd, yr hwn a ystyrir yn safon gan bob plaid sy'n proffesu "athrawiaeth iachus." Y mae amser i ddyfod, neu eisoes wedi dyfod, pryd na ddyoddefir athrawiaeth iachus; ond ni fydd hyny yn rhwystr, eithr yn help, i gael gafael ynddi.

Yn awr, ceir dangos pa beth oedd yn athrawiaeth iachus yn amser Crist a'r apostolion; a'r hyn oedd yn athrawiaeth iachus y pryd hyny, a ddylai fod yn athrawiaeth iachus etto. Nid yw yn

bosibl i'r hyn a ystyrid yn iachus gynt, i fod yn afiachus yn awr: y mae yr hyn sydd yn iachus i barhau felly o hyd. Yr oedd y cyfan a lefarai Iesu Grist yn sicr o fod yn athrawiaeth iachus. Un peth a lefarodd efe oedd hyn:—"Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur. Y neb a gredo ac a fedyddier, a fydd cadwedig: eithr y neb ni chredo a gondemnir. A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a *gredant;* Yn fy enw i y bwriant allan gythreuliaid; ac â thafodau newyddion y llefarant; seirff a godant ymaith, ac os yfant ddim marwol, ni wna iddynt ddim niwed; ar y cleifion y rhoddant eu dwylaw, a hwy a fyddant iach" (Marc xvi, 15—18). Dyna athrawiaeth iachus, medd pawb; ond pwy sydd yn ei phregethu, ac yn medru ei dyoddef? A oes rhyw enwad yn athrawiaethu fel yna, heblaw Saint y Dyddiau Diweddaf? Nac oes, neb. Y sawl a ddywed nad yw yr arwyddion i ganlyn y rhai a gredant, a ddywed hefyd nad yw athrawiaeth Crist yn iachus; a'r sawl a haera nad oes eisieu arwyddion yn awr, a haera hefyd mewn ffordd nad oes eisieu credu a bedyddio, ychwaith; canys y neb a all ddileu un ran o'r commissiwn, a all ddileu y cyfan. Etto, peth arall a ddywedodd Crist oedd, y buasai i'r nef a'r ddaear fyned heibio, cyn y pallai un dim a ddywedodd efe: y mae hyny hefyd yn athrawiaeth iachus, yr hon a gydnabyddir gan lawer mewn gair, ond a wedir mewn gweithred. Un peth nodedig arall a lefarodd ein Harglwydd, yw yr hyn a welir yn Ioan iii, 5, sef, "Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Oddi eithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw" Dyna athrawiaeth iachus etto, yn dangos yr angenrheidrwydd anhebgorol o fedydd dwfr a bedydd yr Ysbryd Glân, cyn y gellir myned i mewn i'r deyrnas. Etto, athrawiaeth iachus ddigon a bregethai Pedr ar ddydd y Pentecost, pan y dywedai, "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau; a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân: canys i chwi mae yr addewid, ac i'ch plant, ac i BAWB yn mhell, cynnifer ag a alwo ein Duw ni ato" (Act ii, 38—39.) Fe welir mai bedydd er maddeuant pechodau, ac addewid o'r un Ysbryd Glân i bawb yn gyffedinol, oedd athrawiaeth Pedr, ac nid rhywbeth arall. Arddodiad dwylaw apostolion neu henuriaid oedd i gyfranu yr Ysbryd hwnw i'r bedyddiedigion; gwel Act. viii, 14—19, a xix, 6. Dyna beth yw athrawiaeth iachus etto. Athrawiaeth iachus hefyd oedd desgrifio yr Ysbryd Glân yn beth ag oedd yn *llanw* tai a phersonau (Act. ii, 1—4), as

yn dwyn ar gof yr hyn sydd wedi myned heibio, ac yn mynegi pethau i ddyfod. Cyn bod yr Ysbryd yn llanw rhywbeth, mae yn rhaid ei fod yn sylweddol a theimladwy; canys "*eglurhad* yr Ysbryd a roddir i bob un er llesâd" (1 Cor. xii, 7), yr hyn sydd etto yn athrawiaeth iachus. Dyben eglurhad yr Ysbryd yw, fel y gallo pawb ddweyd mai Crist yw yr Arglwydd (adn. 3), a thrwy hyny ei adnabod ef, a thrwy ei adnabod i feddu bywyd tragywyddol; canys "hyn yw y bywyd tragywyddol, iddynt dy adnabod di yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist." Mae hyn etto, fel yr holl ddywediadau ereill, yn athrawiaeth iachus; ac os oes rhywun am brawf, gwnaed yn unol ag athrawiaeth arall o eiddo Iesu Grist, sef—"Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys Ef, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth, pa un ai o Dduw y mae hi" (Ioan vii, 17). Heblaw yr holl bethau hyn, gwelwn fod y dywediadau canlynol o eiddo Paul yn athrawiaeth iachus hefyd; sef—"Deisyfwch y doniau ysbrydol;" "na waherddwch lefaru â thafodau;" ac "na ddirmygwch brophwydoliaethau." Etto, i gwpla y cyfan, dyweda yr un apostol, "Od oes neb yn dysgu yn amgenach, ac heb gytuno ag iachus eiriau ein Harglwydd Iesu Grist, ac â'r athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb; chwyddo y mae, heb wybod dim" (1 Tim. vi, 3, 4); ac meddai Paul hefyd, "Eithr pe byddai i ni, neu i angel o'r nef, efengylu i chwi amgen nâ'r hyn a efengylasom i chwi, bydded anathema" (Gal. i, 8). Bellach, y mae pawb yn gwybod pa fath un yw athrawiaeth iachus, fel nad oes achos mwyach i gamsynied yn ei chylch.

Y peth nesaf, wedi cael gafael ar nodau athrawiaeth iachus, yw mynu gwybod pa blaid sydd yn ei phregethu yn y dyddiau hyn. Mae yn rhwydd ddigon i gyrhaedd gwybodaeth o hyny, heb fyned allan o Gymru. Dilyner rhai o bregethwyr Saint y Dyddiau Diweddaf i wahanol eglwysi a chapeli y wlad, er cael gweled os gellir eu dyoddef hwy yno yn dweyd, fel Iesu Grist a'i apostolion, fod yr arwyddion i ganlyn y credinwyr, ac mai dyledswydd pawb yw deisyf y doniau ysbrydol, a pheidio gwahardd llefaru â thafodau, na dirmygu prophwydoliaethau; nac ychwaith i efengylu dim yn amgen nag a efengylodd Paul a'i frodyr! Yn fuan ceid prawf o hollol gyflawniad prophwydoliaeth Paul, yr hwn a ddywed, "Canys daw yr amser pryd na ddyoddefont athrawiaeth iachus; eithr yn ol eu chwantau eu hunain y pentyrant iddynt eu hunain athrawon, gan fod eu clustiau yn merwino; ac oddiwrth y gwirionedd y troant ymaith eu clustiau, ac at chwedlau y troant."

Mor lythyrenol y mae hyn oll yn cael ei gyflawni yn y dyddiau yma! Cyfaddefir yn gyffredin fod y Saint yn *athrawiaethu* yr un peth â'r apostolion, os yw eu gwyrthiau dipyn yn annhebyg; ac am hyny, rhaid mai sectariaid y wlad, ac nid y Saint, yw y rhai "na ddyoddefant athrawiaeth iachus." Er cael prawf cadarnach mai hwy yw y rhai hyny, gallwn sylwi arnynt, "yn ol eu chwantau eu hunain, yn pentyru iddynt eu *hunain* athrawon, gan fod eu clustiau yn merwino," ac yn methu dyoddef y geiriau hyny a lefarai Crist a'r apostolion. Mae yr eglwysi, yn gyffredin, yn pentyru eu hathrawon, yn gywir yr un fath â phe gwelid nifer o blant diddysg yn dewis ysgolfeisti i'w dysgu, yn ol eu chwantau eu hunain, ac heb ganiatâd eu rhieni, o herwydd eu bod wedi diflasu ar yr hen ddull, ac yn dewis meistri a allo chwedleua! Dyna y darlun yn berffaith. Beth yw crefyddwyr y wlad ond plant eisieu eu dysgu? beth yw y parchedigion ond athrawon neu ysgolfeistri? a pheth yw y "galwadau" yn y capeli, ond plant yn "pentyru iddynt eu hunain athrawon," a hyny hefyd yn ol eu chwantau? Pa athraw bynag sy'n boddio clustiau y plant hyn â'i chwedlau Arminaidd, Ffwleraidd, Calfinaidd, Trochyddol, a Mormonaidd, dewisir a chyflogir ef ganddynt yn union, heb ymholi dim â'u Tad sydd fry (neu os ymholant, ni arosant am un ateb); ac yna, os na pharha i foddio eu clustiau merwinol hwy, troant ef ymaith, a dewisant chwedleuwr newydd! Ai nid dyna y gwir am gapeli y wlad? os amgen, carem glywed. Mor wahanol i saint y dyddiau gynt, a Saint y Dyddiau Diweddaf! Mor hollol groes i reol y Testament Newydd! Nid plant Duw sydd i ddewis eu hathrawon, na'r athrawon i ddewis eu hunain; eithr y mae pob athraw i ddysgwyl cael ei alw megys Aaron. "Nid chwi a'm dewisasoch i," meddai Crist wrth y deuddeg, "ond myfi a'ch dewisais chwi, ac a'ch ordeiniais chwi" (Ioan xv, 16). Felly hefyd, gorchymynodd Paul i Titus aros yn Creta, i ddewis henuriaid neu athrawon i'r eglwysi i'w dysgu (Tit. i, 5); canys fe wyddai Paul nad oedd yr eglwysi yn ddigon doeth i ddewis eu hathrawon eu hunain, na'u hordeinio; ond gallent godi eu dwylaw er dangos eu cymmeradwyaeth o ddewisiad y llywydd Titus a'i gyd-swyddwyr. Dyna drefn Saint y Dyddiau Diweddaf hefyd; nid oes hawl gan yr aelodau cyffredin, pe byddent fil gyda'u gilydd, i alw cymmaint ag un diacon. Y fath yw y gwahaniaeth rhwng doethineb Duw, ac eiddo dynion.

Yn awr, pwy sydd heb weled gyda phwy y pregethir athraw-

iaeth iachus? Mae ei nodau wedi eu dangos yn eglur, fel y gall pawb sy'n clywed geiriau Crist a'i apostolion yn cael eu hadredd, benderfynu ei fod yn clywed "athrawiaeth iachus," yr hon sydd yn eisieu arno. Am hyny, ufyddhaer i bregethwyr athrawiaeth iachus, a gadawer "rhith duwioldeb," i gael meddu ei "grym hi;" ac na phentyred neb plant athrawon o ddewisiad eu hunain, rhag eu cael "yn dysgu bob amser, ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd."

---

## ANGHYFNEWIDIOLDEB DUW.

Mae yr hwn a wado anghyfnewidioldeb Duw mewn geiriau, yn cael ei ystyried gan ddynion yn gyffredin yn bechadur mawr, ac yn haeddiannol o dân uffern; tra, ar yr un pryd, y gwadant hwy ei anghyfnewidioldeb, os nad â'u geiriau, gwnant â'u gweithredoedd a'u hymddygiadau. Nid y byd digrefydd yn unig sydd yn euog o hyn; eithr, ysywaeth, y mae llawer o'r rhai a ymgyfenwasant ar enw Duw Jacob felly hefyd. "Y mae hyna," medd rhywun, "yn waith rhy anhawdd ei brofi." Nac ydyw, meddaf finnau; ac er prawf o hyny, awn at y gyfraith, ac at y dystiolaeth, a daliwn broffes y cyfryw yn ngwyneb y rhai hyn; ac os na fyddant yn unol â hwy, "hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt." Pe gofynem i'r hen grefyddwyr mwyaf gwybodus a manylaidd eu barn am Dduw, pa fath Dduw yw efe? eu hateb fyddai, mai "Duw anghyfnewidiol yw;—yr un o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb, heb gyfnewidiad na chysgod troadigaeth yn perthyn i'w fawredd,—yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd." Yn awr, pwy all ddweyd yn erbyn proffes fel yna? Neb, os bydd o galon, ac mewn gweithred; oblegid y mae yn unol â phroffes duwiolion, angylion, cerubiaid, a seraphiaid; ac yn unol hefyd â'r darluniad a gawn o'i anghyfnewidioldeb yn y dwyfol wirionedd. Ond y pwnc yw, a ydym ni yn proffesu yr un modd, mewn meddwl, gair, a gweithred? Mae'n wir fod dynion yn proffesu â'u genau fod Duw yn anghyfnewidiol, a'i fod wedi, ac yn cyflawni ei holl addewidion yn mhob oes a goruchwyliaeth,—yn fendithion, ac yn felldithion. Credant pe bai Noe yn gwrthod gwneuthur yr arch yn ol y portread a roddodd Duw iddo, yn yr hyd, y lled, a'r uchder; a phe bai yn dewis rhyw fan i osod y ffenestr, heblaw'r man y gorchymynwyd iddo gan Dduw, y buasai yn droseddwr yn erbyn Duw, ac felly fod dan lid Duw; ac y ca'i

ef a'i deulu eu dyfetha yr un modd a'r cyn-ddiluwiaid ereill. Pe amgen, profasai hyny Dduw yn gyfnewidiol; a bod cynllun dyn yn well na'i gynllun ef.

Eglur yw, fod lliaws crefyddwyr gwlad y Beiblau yn ymhòni eu bod yn diysgog gredu yn anghyfnewidioldeb y Duw mawr. Haerant eu bod yn credu felly, a bod y grediniaeth hòno yn unol ag ysgrythyr y gwirionedd, drwy ddwyn enghreifftiau beiblaidd o'i anghyfnewidioldeb. Dywedant fod Duw wedi cospi pechod y cyn-ddiluwiaid, ac wedi para felly i'w gospi yn Israel, ac felly ei fod yn anghyfnewidiol yn hyny. Ac mor wir a'i fod wedi ei gospi yn y rhai yna, bydd yn sicr o'i gospi yn ei holl goleddwyr, am eu hanufydd-dod, hyd ddiwedd amser. Gwobrwyai Duw rinwedd, ac ufydd-dod i'w ordinhadau, yn yr "hen fyd" gynt; a pharhaodd i wneuthur hyny hyd yn bresennol. "Ac megys yr oedd yn y dechreuad (meddant) y mae yr awr hon, ac y bydd yn wastad yn oes oesoedd." Dywedant fod Duw wedi anfon ei Fab i'r byd i achub pechaduriaid, ac mai "efe yw ffordd y gwirionedd a'r bywyd;" ond y pwnc mawr yw, a ydynt yn ymddwyn yn addas i'r ymhoniadau yna? Dywedant (gyda Christ) mai "ffordd gul yw ffordd y bywyd; ond, mewn difrif, a ydynt hwythau ddim yn ei gwneuthur yn ffordd lydan? Addefant yn rhwydd fod Crist wedi llefaru geiriau tebyg i'r rhai hyn:—"Oddieithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw." Pe gofynem iddynt pa un ai credu ai bedyddio yw y ddyledswydd gyntaf ar ddyn? atebai rhai yn ngeiriau Crist, "y neb a gredo ac a fedyddier, a fydd cadwedig," gan osod y credu o flaen y bedyddio; tra y gesyd y lleill y credu ar ol y bedyddio. Ac felly y mae un o'r pleidiau yn rhwym o fod yn gwneuthur Duw yn gyfnewidiol yn hyn yna. Pe gofynid iddynt eilwaith, a roddodd yr Iesu ryw addewidion i'r credinwyr? "Do," meddant, "A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant; yn fy enw i y bwriant allan gythreuliaid; ac a thafodau newyddion y llefarant; seirff a godant ymaith, ac os yfant ddim marwol, ni wna iddynt ddim niwed; ar y cleifion y rhoddant eu dwylaw, a hwy a fyddant iach." Beth pe dywedai rhai o'r dyscyblion wrth Grist, mai nid i ganlyn y credinwyr yr oeddynt i fod, ond i ganlyn yr apostolion; diau y cawsent eu ceryddu yn llym ganddo, am iddynt geisio ei wneyd ef yn gelwyddog.

Yn awr, dyma gyfleusdra teg i bawb weled pa un a ydynt yn credu fod Duw yn anghyfnewidiol ai peidio, gan nad oes genym

hanes fod Crist wedi gwneuthur yr un cynllun arall, nac wedi gorchymyn i'w weision ei wneuthur ychwaith; a phe byddai wedi gwneuthur hyny, gallasem ei brofi yn gyfnewidiol. Yn awr, os gofynwn i gannoedd o hen grefyddwyr Cymru, y rhai sydd yn credu fod Duw yn anghyfnewidiol, a ydynt wedi ufyddhau i'r ordinhadau a osododd Crist yn ei eglwys? ateba llawer eu bod er yn foreu iawn, a dywedant eu bod wedi cael eu bedyddio pan yn eu babandod, cyn iddynt fod yn alluog i gredu; ac ymfoddlonant ar hyny. Yn awr, gwelir eu bod naill ai yn credu fod Duw wedi cyfnewid ei feddwl er yr amser y sefydlodd ei eglwys, neu ynte, fod traddodiadau y tadau yn rhagorach, yn eu gwaith yn ymfoddloni ar fedydd yn gyntaf, yn lle credu yn gyntaf, fel y dywedodd yr Iesu, "y neb a gredo ac a fedyddier, &c." Etto, pe gofynem i'r cyfryw os cawsant eu *geni* o'r dwfr? yr ateb a gaem fyddai, fod "arwydd" yn ddigon. Yr hyn a ddengys etto eu bod yn credu mewn Duw cyfnewidiol: credant nad oes eisieu geni ond *rhan* o'r dyn o ddwfr yn awr, pan oedd gynt yn rheidiol geni *yr holl* ddyn o'r dwfr. A phe gofynem iddynt, a dderbyniasant gyflawniad o addewidion Duw trwy dderbyniad yr Ysbryd Glân yn ei wahanol weithrediadau? "O, na, na," meddant, gan synu ac arswydo; "nid ydym yn ei ddysgwyl." Ha, gyfeillion, dim "yn ei ddysgwyl," aie, a chwithau yn credu mewn Duw anghyfnewidiol, yr Hwn a ddywedodd—"a *ganlynant* y rhai a *gredant*!" Ai nid ydych chwi o'r rhai a gredant yr efengyl? os nad ydych yn ei ddysgwyl, rhaid i chwi ystyried eich hunain yn angrhedinwyr; neu ynte, eich bod yn credu fod Duw wedi cyfnewid, a'i fod wedi galw ei addewidion yn ol! "Credwn," meddant, "fod Duw yn rhoddi yr Ysbryd Glân mewn modd dirgelaidd yn y galon." Gwaeth fyth, ynte; ai nid oedd yn ddigon i chwi gredu fod y Tad a'r Mab wedi cyfnewid, ond mynwch fod yr Ysbryd Glân hefyd wedi cyfnewid! Yr Ysbryd Glân ag oedd gynt yn medru disgyn megys gwynt nerthol yn rhuthro, nes y byddai dynion yn llefaru â thafodau gwahanedig megys o dân, ac ofnau ei dderbynwyr yn cael eu hymlid ymaith, gan y nerth a'r sicrwydd mawr oedd yn gydfynedol ag ef;—mae hwnw yn awr, meddwch chwi, yn disgyn mewn modd dirgelaidd i'r galon!! O, brysur anwyl, ai meddwl yr ydych fod Ysbryd Duw fel dyn? fod henaint a methiant yn ei ddal? ei fod yn wrol pan yn ieuanc? ond ei fod yn awr wedi heneiddio, fod ceiliog y rhedyn yn faich arno ef? fel nad all efe mwy fod mewn nerth ac mewn sicrwydd

mawr; ond yn hytrach yn fethiedig, ac yn gweithio mewn modd *dirgelaidd* yn y galon! Rhyfedd fath gyfnewidiad, onite, mewn tri o bersonau ag oedd gynt yn gadarn mewn nerth, yn rhyfeddol mewn doethineb a gogoniant, yn dyrchafu eu gair goruwch eu henw oll, yn anghyfnewidiol, ac heb gysgod troadigaeth! Pe gwir fyddai traddodiadol grefyddau ein tadau, O'r fath siomedigaeth gawsai y prophwydi, a'r apostolion, y rhai a'i gosodasant yn Dduw cyfiawn, santaidd, a da; "yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd." Ond diolch, wele ddynion geirwir, ïe, gannoedd o filoedd o honynt ar y ddaear yn awr, a allant dystio yn wirioneddol ac mewn symlrwydd calon, fod Duw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân, yn anghyfnewidiol; ac fod y dystiolaeth hon wedi ei chael, trwy ufydd-dod i'r ordinhadau a osodwyd gan Iesu anfonedig y Tad, a thrwy dderbyniad o'r Ysbryd Glân mewn nerth megys cynt. Ac yn awr, gwir ddymuniad fy enaid, ac awyddfryd fy nghalon, yw gweled fy nhyd ddynion yn ufyddhau i'r un ammodau, fel y cânt wybodaeth o'r un gwirionedd. Amen.

Pa fodd y gallwn wybod, fod Duw a'i air yr un,
Os na chawn ni o'i Ysbryd, fel d'wedodd ef ei hun.

*Tre-Sior.* T. HARRIS.

---

## CYNGHORION I YMFUDWYR.

CYN yr hwylio ein brodyr i'r Môr Werydd, cymmerwn y cyfleusdra hwn i roddi iddynt ychydig o gynghorion er eu lles. Bydded iddynt feithrin llawer o amynedd ac hir-ymaros, ac hefyd ymddiried digon yn addewidion eu Duw, gan gofio fod yr hwn sydd i'w harwain a'u llywyddu yn was iddo, ac wedi ei alw yn rheolaidd i ddysgu a chyfarwyddo y Saint yn mhob dim. Peidio ufyddhau i orchymynion gwas danfonedig Duw, yw peidio ufyddhau iddo Ef ei hun. Pan y delo croesau a gwrthwynebiadau i'w cyfarfod ar eu taith, a phethau yn troi allan yn groes i'w meddwl, bydded iddynt y pryd hwnw edrych yn ol, a cheisio dwyn ar gof, os ydynt hwy wedi cael prawf o wirionedd eu crefydd; ac os byddant, bydded iddynt gofio pa fodd y cawsant brawf, os mai trwy ffydd yn ngweision Duw. Yna, wedi cael sicrwydd o hyny, bydded iddynt ychwanegu eu ffydd etto, a deall mai wedi gweithredu ffydd, y mae dyfod i wybod fod pob peth sy'n ymddangos yn groes, yn iawn. Bydded iddynt oll weddio a gwylio yn wastadol, yn neillduol dros yr hwn fydd yn eu harwain. Na wrandawer ar

neb arall o'i flaen ef; canys trwy hyny y mae aflwyddiant yn dyfod i mewn.

Y mae eisieu i'r ymfudwyr fod yn gall hefyd mewn pethau tymmorol. Maent yn ymfudo i wlad sy'n hollol wahanol i Gymru; ac, o ganlyniad, y mae yn anghenrheidiol iddynt barotoi pob peth anghenrheidiol gogyfer â myned yno. Mae llawer o bethau wedi eu nodi gan ein hanwyl frawd Jones yn y "Prophwyd," a chenym ninnau yn yr UDGORN; ac felly, ni wnawn yn bresennol ond yn unig nodi y pethau na nodwyd o'r blaen. Fe ddealla pawb fod pob math o waith gofiaid, toddwyr, &c., yn lawer drutach yn New Orleans, St. Louis, a'r Council Bluffs, nag ydyw yma; ac o ganlyniad, fod yn well i'r ymfudwyr fyned â phob math o offerynau dur a haiarn ganddynt o'r wlad hon, gan na fyddant yn costio dim am eu cario, ond rhyw ychydig ar hyd yr afonydd. Buasai erydr haiarn, wedi eu gwneyd i'w cario mewn blwch, yn rhatach fwy o'r hanner yma, nag y gellid eu cael yr ochr draw. Cofier nad oes etto siopau gofiaid, &c., yn y Llyn Halen; ac mai po fwyaf o offerynau o bob math a ellir gael oddi yma, mai rhataf i gyd a fyddant yn Seion. Bydd cistaid o offerynau haiarn, gwydr, a phethau ereill, yn beth nesaf eu gwerth i aur yn y wlad hono. Nwyddau sydd eisieu yno, ac nid tir nac arian. Cofied y Saint am beidio gosod y pethau a ddefnyddiant ar y môr gyda y pethau ereill, ond eu cadw ar wahan, fel y byddont wrth law ganddynt yn y llong, ac fel y galler gosod y blychau ereill yn *hold* y llestr, er cael lle i'r ymfudwyr. Na adawer i ddyeithriaid gynnorthwyo yr ymfudwyr yn Liverpool a New Orleans, o herwydd eu bod mor barod i ledrata a chodi gormod am eu gwaith. Mae digon o Saint a all wneyd hyny drostynt, os na allant ei wneyd eu hunain. Treied pawb dalu y brawd Pratt mewn aur, neu mewn nodau Bank Lloegr. Aur yn unig a newidir yn America, heb golled; rhaid colli ychydig wrth newid papyrau ac arian; ac felly gwell i bawb eu newid yma, a myned â dim ond aur ganddynt i America. Bydd yn dda hefyd i ddarparu dillad cynhes ac ysgafn, a digonedd o *slippers* ac esgidiau teneuon, gan eu bod yn well i gerdded y ddaear dywodlyd sydd tua'r Bluffs. Bydd eisieu llawer o gwpanau, ystenau, &c. tin, at barotoi bwyd, a'i fwyta, ac at wasanaeth teuluaidd, yn lle rhai pridd; a gellir cael y rhai hyn yn well yn Nghymru nac yn Liverpool, os na fyddant yn ormod o annibendod i'w cario. Ymdrechod pob un farnu drosto ei hunan mewn pethau fel hyn.

Nid ydym wedi derbyn gwybodaeth gywir ynghylch amser yr ymfudiad etto, ond meddyliwn na fydd cyn dechreu Chwefror. Hysbysir ni gan y brawd Pratt, y gallai'r Cymry gychwyn yn gynt, pe boddlonent fyned gyda'r byd; ond barnwyd yn well aros wythnos neu ddwy er cael cwmnïaeth Saint Seisnig. Nid yw yr ymfudwyr Cymreig, y tro hwn, ond oddeutu cant, o herwydd na chafodd ond ychydig amser i fod yn barod. Dysgwyliwn y bydd llongaid dda o Gymry yn barod i fyned ymaith tua mis Hydref nesaf; a bydded i'r ffermwyr sy'n awyddus i ymfudo, i barotoi eu hunain erbyn hyny.

---

## UN A ANWYD YN DDALL YN CAEL EI GOLWG!

[Allan o'r "Millennial Star."

*Caerodor, Tachwedd* 25, 1849.

ANWYL LYWYDD PRATT,—Gan i chwi fod mor garedig â chyhoeddi y llythyr a ddanfonais atoch, ar y 9fed o Orphenaf diweddaf, yn cynnwys hanes o allu gwyrthiol Duw, yn iachâd Elizabeth Ann Bounsell, yr hyn a greodd gryn fwstwr yn mhlith cris ionogion duwiol y ddinas hon; anturiaf ysgrifenu atoch etto a dweyd i'r amgylchiad hwnw achosi llawer i alw yn y tŷ i weled os oedd yn wir. Ac wrth weled, yr oedd llawer yn gorfoleddu, tra yr oedd ereill yn gwatwar, gan ddywedyd, "Buasai hi yn dyfod yn iach, pe buasai yr henuriaid heb osod eu dwylaw arni." Yn mhlith yr olaf, yr oedd dyn hunanol o'r enw Charles Smith (yr hwn sydd wedi ysgrifenu traethawd disylwedd yn erbyn y Saint), yr hwn a ddywedodd nad oedd yn ddigon i'w foddloni ef. Yna cymmerodd y fam un arall o'i merched, ac a'i gosododd ar ei gliniau, gan ofyn iddo, "Syr, a ydyw y plentyn yna yn ddall?" Ar ol edrych ei llygaid, atebodd, "*Ydyw.*" "Wel," meddai y fam, "cafodd ei *geni yn ddall;* ac y mae yn awr yn bedair blwydd oed; ac yr wyf yn myned i'w chymmeryd at henuriaid yr eglwys, i gael eneinnio eu llygaid ag olew, ac iddynt hwy osod eu dwylaw arni; a gellwch chwi alw etto, pan gewch amser, i'w gweled â'u llygaid yn agored; o herwydd yr wyf yn gwybod y gwna Duw ei gwella, ac y daw hithau i weled." "Wel," meddai yntau, "os daw hi byth i weled, bydd yn brawf cadarn." Yn ganlynol, aeth y fam â'r plentyn at yr henuriaid, ac eneinniodd yr Hen. John Hackwell eu llygaid, ac a osododd ei ddwylaw arni, unwaith yn unig; a gwrandawodd yr Arglwydd ei weddi, fel ag y mae y

plentyn yn awr yn gallu gweled â'i dau lygad, yn gystal â rhywun arall. Am hyn yr ydym oll yn teimlaw yn ddiolchgar i'n Tad nefol, ac yn foddlawn tystiolaethu am hyn i'r holl fyd.

Yr eiddoch yn nheyrnas Dduw,
GEORGE HALLIDAY.

O.Y.—Yr ydym ni, tad â mam y plentyn, yma yn rhoddi ein henwau, fod yr hanes uchod yn wirionedd.

WILLIAM BOUNSELL,
ELIZABETH BOUNSELL.

---

## A ALL Y DIGRED DDYFOD I GYFARFODYDD Y SAINT?

ODDIWRTH rai llythyron a dderbyniasom yn ddiweddar, ymddengys fod cryn gam-ddealltwriaeth yn bod mewn rhai cangenau mewn perthynas i hyn. Yr ydys wedi dysgu o'r blaen, ond efallai nid mewn ysgrifen, gan Capt. Jones ac ereill, nad oes hawl gan y Saint i wahardd neb i ddyfod i'w cyfarfodydd cymdeithasgar. Dangosa Paul hefyd yn 1 Cor. xiv, 21—25, fod y digred a'r annysgedig yn arferol o ddyfod i blith y Saint yn yr amser gynt. Felly, dealled yr holl lywyddion fod gan bawb ryddid i ddyfod i holl gyfarfodydd y Saint, os ymddygant yn weddus; ac os bydd rhywun, o'r tu arall, yn chwennych aflonyddu y cyfarfodydd, y mae cyfraith y tir i'n hamddiffyn: ond cofier nad oes neb i'w derbyn fel brodyr ond sydd â phapyrau argraffedig ganddynt. Gellir dangos i'r digred drwy hyn ein bod yn eu hystyried megys yn anwyl genym, er ein bod yn dyeithrio cymmaint yn ein dull o addoli. Beth sydd yn swper yr Arglwydd a thystiolaethau y Saint, na wnant ddenu, ar droion, y penaf o bechaduriaid, a'u troi o gyfeiliorni eu ffyrdd? Pregethu, mae yn wir, yw prif offeryn argyhoeddi y digred, ac nid y doniau ysbrydol; ond y mae, er hyny, lawer o rai onest wedi eu hargyhoeddi mewn cyfarfodydd felly, lle mae'r Saint yn tystiolaethu ac yn ymarfer y doniau, &c. Mae digon o ddoethineb gan yr henuriaid, ond ei ymarfer, i ddwyn pob peth yn mlaen yn weddus ac mewn trefn, fel na fydd achos holi yn feunyddiol ynghylch pethau o'r fath. Ni fydd achos i'r cangenau sydd yn anwybodus o'r pethau uchod, i gyfnewid dim yn eu dull o gynnal eu cyfarfodydd, o herwydd presennoldeb y byd; canys cyfarfodydd i'r Saint fyddant o hyd, a'r Saint fydd i'w hadeiladu.

## GWYL YN NINAS Y LLYN HALEN.

Ar y 24ain o Orphenaf diweddaf, cynnaliwyd gwyl nodedig yn Ninas y Llyn Halen, er coffadwriaeth blynyddol am ddyfodiad y Llywyddion Young a Kimball, ynghyd â'r *pioneers*, i'r Dyffryn. Dihunwyd y trigolion yn foreu gan ruad magnelau a pheroriaeth, ac yna cariwyd y côr pres cerddorol mewn dau gerbyd trwy y ddinas, gan ddychwelyd i'r *bower* erbyn saith. Adeilad yw hwnw o goed, ac yn 100 troedfedd o hyd wrth 60 o led; ond at wasanaeth y dydd, codwyd oddeutu 100 troedfedd o dô bob ochr i'r adeilad, er cael lle i'r dyrfa i giniawa.

Am wyth, wedi codi y faniar genedlaethol (65 troedfedd o hyd) i ben Pawl Rhyddid (104 troed. o uchder), a'i chyfarch gan chwech gwn, caniad cloch Nauvoo, a sain cerddoriaeth; galwyd y torfeydd ynghyd trwy yr un offerynau, tra y darparai esgobion pob dosparth eu gwahanol faneri. Am chwarter wedi wyth, cychwynodd llywyddiaeth y *stake*, y deuddeg, a'r cerddorion, i drefnu yr orymdaith, wrth dŷ Brigham Young, yn ol cyfarwyddyd Lorenzo Snow, J. M. Grant, a F. D. Richards, yn y dull canlynol:—

H. S. Eldrige, marshal, ar farch, mewn gwisg filwraidd.
Côr Cerddorol.
Deuddeg Esgob, a'u baneri.
Pedwar ar hugain o wyr ieuainc, mewn dillad gwynion, a scarffau gwynion am yr ysgwyddau deheu, a choronigau ar eu penau, pob un yn cario yn y llaw ddeheu Fynegiad o Annibynrwydd a Ffurf-lywodraeth yr Unol Daleithiau, a chleddyf mewn gwain yn yr aswy; a chariai un faniar hardd, a "Seion yr Arglwydd" arni.
Pedair ar hugain o ferched ieuainc, mewn gwisgoedd gwynion, a scarffau gwynion am eu hysgwyddau deheu, a thorch o rosynau gwynion am eu penau, pob un yn cario y Beibl a Llyfr Mormon; ac un yn dwyn baniar, ac arni "Henffych i'n Blaenor."
Newel K. Whitney, Esgob. Thos. Bullock, Ysgrifenydd.
John Smith, Patriarch.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Brigham Young | Parley P. Pratt | Chas. C. Rich | Daniel Spencer |
| Willard Richards | Heber C. Kimball | John Taylor | Erastus Snow. |

D. Fulmer. Willard Snow.
Deuddeg Esgob, yn cario eu baneri.
Pedwar ar hugain o henafgwyr, yn cael eu harwain gan Isaac Morley, Patriarch, a phob un â ffon wedi ei phaentio yn goch ar y pen uchaf, ac ysnoden wen wrth y top; ac un yn dwyn y faniar â'r cleisiau a'r gweliau, ac arni y geiriau, "Rhyddid a Gwirionedd."

Cychwynodd yr orymdaith oddiwrth y tŷ am naw o'r gloch. Darfu i'r meibion a'r merched ieuainc ganu hymn trwy yr heol, a rhuai'r magnelau a'r drylliau, tra yr oedd cloch Nauvoo yn dra thafodrydd, a'r awyr yn cael ei llanw â thôn araf y cerddorion. Ar ol cyrhaedd y bower, cafodd yr orymdaith ei groesawi a bloeddiadau uchel, &c; ac wedi gwaeddi, "Henffych i Lywodraethwr Deseret," daeth un o'r pedwar mab ar hugain i ben yr esgynlawr, gan anrhegu Brigham Young â'r Mynegiad o Annibynrwydd a Ffurf-lywodraeth yr Unol Daleithiau, yr hwn a ddarllenwyd gan Mr. Erastus Snow. Wedi hyny, cafwyd y pleser, yn gymmysg â phethau ereill, o glywed y tri pedwar-ar-hugain yn canu, a'r henafgwyr yn anerch Brigham Young ar achlysur yr wyl. Yna anerchwyd y miloedd gan Brigham Young, Kimball, ac ereill, yn dra hyawdl ac effeithiol.

Y peth nesaf oedd y giniaw. Wedi i'r gwahanol esgobion arwain eu dosparthiadau at y byrddau, bwytaodd oddeutu saith mil yn flasus o ffrwyth y ddaear, a chynnyrch eu dwylaw, gan roddi cyfran i'r ymdeithwyr a'r Indiaid. Gwledd ydoedd na welwyd ei bath, er gweled o'i chyfranogwyr bedwar ban y byd. Yr oedd pawb yn llawenhau yn y mwynhad : ni chlywwyd y fath beth â llw, ac ni welwyd tebyg i feddwyn yn y lle—nid oedd dim i aflonyddu undeb, heddwch, a phleser y dydd. Wedi hyn, amgylchynwyd y dorf gan yr esgobion a'u baneri, y meibion a'r merched ieuainc, a'r henafgwyr, y rhai o orymdeithient oddiamgylch, gan ganu caniadau Seion, yn nghlyw y gloch a rhuad y magnelau. Yna, wedi treulio peth amser i adrodd y llwnc-destunau penaf a glybuwyd erioed, ac areithio yn gampus, a chanu yn orfoleddus, diweddwyd y dydd gwyl pen blwyddyn cyntaf yn Ninas y Llyn Halen, gyda dymuniad i weled ei gyffelyb etto.

Treuliwyd dydd gorfoleddus arall hefyd yn Council Bluffs, ar y 9fed o Fedi, yr hwn a achoswyd gan ddyfodiad A. W. Babbitt, Ysw., o'r Llyn Halen, efo llythyr-god yr Unol Daleithiau, yn cynnwys newyddion am gynauaf da yn y lle hwnw, a bod y wlad wedi ei gwneyd yn Dalaeth Deseret, ac mewn gobaith o gael rhan yn yr Undeb. Wedi cerdded, ciniawa, canu, a phob peth arall, terfynwyd trwy ddawns ddifyrus a diniwed, fel y ceir esiamplau mynych o hyny yn yr ysgrythyrau.

Beth a ddywedir, wyddis, gan y rhith-grefyddol am ryddid plant Seion? Ofnwn y byddant yn bechaduriaid heb eu bath, o herwydd y saethu a'r dawnsio!

## FFARWEL PLANT SEION.

CYFEILLION sy'n anwyl, a cheraint sy'n agos,
A'r wlad lle ein ganwyd sy'n felys i'n bryd;
Er hyny ymfudwn, yn ol y gorchymyn,
I gael etifeddu rhan arall o'r byd:
Plant ydym a anwyd i deyrnas y nefoedd,—
Ni pherthyn gwlad Cymru ddim mwyach i ni;
Ar dir yr Amerig y mae'n hetifeddiaeth,
Can's yno mae'r Arglwydd yn galw ei lu.

Mae'r byd i ddyoddef gan heintiau a phläau,
Mae'r phiolau i'w tywallt gan engyl o'r nef;
Mae Cymru i yfed o'i chwpan llawn hithau,
A ninnau raid gychwyn ar frys tua thref.
Mae'r dyfnder yn arw, a'i lwybrau yn feithion,—
Ond diolch fod genym ni Dad wrth y llyw;
Gwnawn roddi ein hunain yn ddiogel i'w ofal,
Gan gredu y cawn ni yn Seion gyd-fyw.

Ffarwel i bob Cymro, boed gyfaill neu elyn;
Daw pawb sydd yn onest i ganlyn ein hol;
Wrth 'rheiny nid ydym yn canu un ffarwel,
Can's credwn na fyddant forwynion fydd ffol.
Yn iach i dir Gwalia! ffarwel, ynys Brydain!
A groesaw, Amerig, lle casgla plant Duw,
I godi tŷ'r Brenin, a'i ddinas ardderchog,
I ddysgwyl ei anwyl Fab Iesu i fyw.

Adieu to old Cambria! farewell, isle of Britain!
And hail to the country that's far in the west!
We Saints are commanded to flee from all nations,
And seek for a refuge and latter-day rest.
God's words are fulfilling—his children are gather'd—
His threaten'd great vengeance is ready at hand;
Then speed our vessel, O Lord, on the ocean,
That we all may hasten to Zion's fair land.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR ABERTEIFI.

CYMMANFA gyntaf y gynnadledd uchod a gynnaliwyd yn Marchnatty Llandyssil, ar yr 11eg o Dachwedd diweddaf. Dechreuwyd am ddeg, pryd y cynnrychiolwyd pedair o gangenau, yn cynnwys 10 o henuriaid, 8 o offeiriaid, 3 o athrawon, a 2 o ddiaconiaid; 6 wedi eu bedyddio yn y tri mis diweddaf; y cyfanswm yn 60. Yr oedd y lle yn orlawn o wrandawwyr trwy y dydd. Anerchwyd y gynnulleidfa, yn y gwahanol gyfarfodydd, gan Lywydd Cymru, H. Williams, Wm. Rees, W. Jones, David Jeremy, a B. Evans.

Cafwyd gwrandawiad astud, ac ymddygodd y dorf yn foneddigaidd. Argoelion da am lwyddiant yn yr amser dyfodol.—Alfred Clark, Llywydd; James James, Ysgrifenydd.

### CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG.

Cynnaliwyd trydedd gymmanfa y gynnadledd uchod ar y 18fed o Dachwedd, yn y Tradeshall, Abertawy. Wedi dechreu am ddeg, galwyd am gynnrychioliad y gynnadledd, yr hwn sydd fel y canlyn:—17 o gangenau, 55 o henuriaid, 31 o offeiriaid, 25 o athrawon, a 13 o ddiaconiaid; 52 wedi eu bedyddio er y gynnadledd o'r blaen. Anerchwyd y cynnulleidfaoedd gan y brodyr W. Phillips, Thos. Pugh, William Rees, E. Williams, a John Price. Penderfynwyd yn unfrydol fod holl aelodau a swyddogion y gynnadledd hon i lynu wrth ddysgeidiaeth y Llywydd Phillips a'i gynghorwyr o hyn allan. Cafwyd cyfarfodydd anarferol o dda.—Thomas Pugh, Llywydd; W. Sibbs, Ysgrifenydd.

### SIR FFLINT.

Cynnaliwyd y gynnadledd uchod yn yr Wyddgrug, ar y 11eg o Dachwedd, mewn lle perthynol i westdy y Llew Du. Cafwyd fod y gynnadledd yn cynnwys 10 henuriad, 7 offeiriad, 2 athraw, ac 1 diacon; 3 wedi eu bedyddio; cyfanswm yn 64. Galwyd pedwar i swyddi, a dewiswyd Robert Jones, Bagillt, i fod yn gynghorwr i John Davies. Anerchwyd y gwyddfodolion yn Gymraeg a Saesneg, gan y brodyr Abel Evans, John Davies, John James, ac ereill; a threuliwyd y dydd yn wresog yn yr Ysbryd.—John Davies, Llywydd; Thos. Green, Ysgrifenydd.

### CYNNADLEDD DDWYREINIOL CYMRU.

Cynnaliwyd y gymmanfa uchod ar y 11eg o Dachwedd yn Nghasnewydd. Cynnrychiolwyd 23 o henuriaid, 14 o offeiriaid, 12 o athrawon, a 4 o ddiaconiaid; wedi eu bedyddio er y gymmanfa o'r blaen, 40; cyfanswm, 363.—William Henshaw, Llywydd.

---

## AMRYWIAETHAU.

DARGANFYDDIAD HEN DDINAS.—Mae Mr. Squier, golygwr yr Unol Daleithiau dros America Ganolbarthol, wedi darganfod adfeilion hen ddinas arall yno, wedi ei chladdu, neu y peth nesaf i hyny, o dan coedwig, oddeutu 150 o filltiroedd o Seon. Desgrifia ef yr adfeilion fel yn tra-ragori mewn gwychder saerniol ar eiddo Palenque. Dyna dystiolaeth etto o wirionedd Llyfr Mormon.

BEDYDD NEILLDUOL.—Ar y 7fed o Hydref diweddaf, darfu i'r Parch. Daniel Evans, Nazareth, yn Sir Gaerfyrddin, fedyddio dyn yn afon Pontyates, trwy fyned at ymyl yr afon, a chodi dwfr â'i law, a'i dywallt ar dalcen y bedyddiedig!! Beth a allai fradychu y daenell yn fwy, nâ gadael y basin cyfleus er myned i gyrchu y diferyn â'r llaw o'r afon?

**Aml-wreigiaeth.**—Darllenasom mewn newyddiadur yn ddiweddar, fod pob dyn ieuanc yn y Llyn Halen yn meddu oddeutu ugain o wragedd bob un, a'r hen fobl oddeutu deg bob un! Rhyfedd y fath newydd. A ydyw yn gwlawio gwragedd yno, tybied? neu, a ydyw y mwyrif yn dewis bod heb un, er mwyn i ychydig i gael eu diwallu â gormodedd?

**Dyoddefiadau Ymfudwyr am Aur.**—Dyweda papyr Americanaidd, sef y *Traveller*, fod dyoddefiadau yr ymfudwyr uchod yn ddrwg iawn, yn neillduol eu gwragedd a'u plant. Gorfu i rai fwyta cig eu mulod i'w cadw rhag newynu, ac yr oedd ereill ag oedd yn mhellach yn ol yn trengu yn ngolwg esgyrn y rhai oedd wedi trengu yn flaenorol. Mae y Saint, wrth deithio yn fwy trefnus, a than arweiniad gwell, yn gochelyd pob caledi o'r fath, ac yn cyrhaedd eu dinas yn ddiangol.

**Gweledigaeth.**—Dygwyddodd i un chwaer gyda'r Independiaid, yn Bethesda, Merthyr, tra yn cymuno yno yn ddiweddar, weled Iesu Grist yn ngwaelod y cwpan!—J. R.

**Rhyfeddod.**—Mewn llythyr o Ddinas y Llyn Halen, hysbysir nad yw y criciaid wedi niweidio y cnydau eleni, fel arferol; ond bod llawer o filoedd o wylanod wedi dyfod yno yn gynnar yn y gwanwyn, a gwneyd rhyfel â'r criciaid, a'u gorchfygu, fel nad oes un o honynt yn awr i'w gweled yn y lle. Gwelid y gwylanod bob boreu yn ehedeg am filltiroedd o'r Llyn, i chwilio am y criciaid; a'r peth mwyaf hynod oedd, nad oeddynt yn byw arnynt, ond eu chwydu i fyny yn gyfain, ac felly yn parhau i'w llyncu a'u chwydu trwy'r dydd, gan ddychwelyd i'r Llyn bob nos i orphwys. Mor debyg i wyrth y sofl-ieir yn ngwersyll yr Israeliaid yn yr amser gynt.

**Pregeth yn erbyn y Saint.**—Pregethai Trochwr selog yn erbyn y Saint, oddiwrth 1 Cor. xiii, 8. Bloeddiai yn aml yn ei bregeth, "Prophwydoliaethau wedi pallu, tafodau wedi peidio, a gwybodaeth wedi diflanu, gyfeillion bach." Ar ddiwedd y cwrdd, cynnygodd yr hen ddiacon swllt iddo. "Wel," ebe'r parchedig, "chwi ydyw yr un cyntaf a gynnygodd swllt i mi am hona." "Pa beth ydych yn arferol o gael am dani?" ebe'r diacon. "Coron," meddai yntau. Yna gofynodd y diacon os oedd yn siwr o hyny. "Ydwyf, yr wyf yn gwybod hyny," atebai y parchedig. "Wel, mi welaf yn awr," ebe y diacon, "nad yw gwybodaeth wedi diflanu, fel y mynech i ni gredu gynneu."—T. H.

### Y PAROT A'R BADWR.

"Cant punt am fad!" medd parot pan ar foddi;<br>
A badwr ddaeth mewn pryd i'w ddiogelu.<br>
'Nol dwyn y parot at y teyrn a'i pïodd,<br>
Dadleuai'r badwr am y "cant punt" glywodd.<br>
"Fe gewch," medd yntau, 'rhyn a dd'wedo'r 'deryn;"<br>
A bloeddiai hwnw, "Rhoddwch *rot* i'r delffyn!"

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# SEREN Y SAINT;

YN CYNNWYS

EGWYDDORION "GORUCHWYLIAETH CYFLAWNDER YR AMSEROEDD,"

MEWN

TRAETHODAU, LLYTHYRON, HANESION,
PRYDYDDIAETH, &c.

"Nyni a iachasom Babilon, ond nid aeth hi yn iach; gadewch hi, ac awn bawb i'w wlad: canys ei barn a gyrhaedd i'r nefoedd, ac a dderchafwyd hyd yr wybrau."—Jer. li, 9.

"Dring rhagot, yr efengyles Seion, i fynydd uchel."—Esa. xl, 9.

## CYFROL II.

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD, CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN J. DAVIS,
NANTYGWENITH, GEORGETOWN.

1850.

# RHAGYMADRODD.

---

ANWYL DDARLLENWYR,—Wele ni wedi bod un flwyddyn arall etto yn chwythu yn ein HUDGORN, ac ar ei diwedd teimlwn yn ddiolchgar i Dduw am ei ofal am danom ni a'r holl Saint. Buom yn gwneuthur ein goreu y flwyddyn hon, fel y flwyddyn o'r blaen, i udganu y pethau a glywsom o Seion, a gwyddom i ni glywed pethau ardderchog. Mae ein darllenwyr ystyriol wedi derbyn budd a lles oddiwrthym, tra y gall y rhai esgeulus fod yn amddifad o'r wybodaeth werthfawr a gynnygiwyd iddynt. Yr UDGORN yw llais Ysbryd Duw yn Nghymru; ac nad pwy sydd yn ei chwythu, geiriau y bywyd yw y rhai a roddir allan. Tystiolaethwn hyn yn eofn, canys teimlwn Ysbryd y bywyd o'n mewn, yr hwn sydd yn cyd-dystiolaethu â'n hysbryd ni; ac am hyny, gwyddom mai gwirionedd a lefarwn. Pwy bynag sydd yn hoffi sain UDGORN SEION, neu lewyrch *Seren y Saint*, gwyddom ei fod yn derbyn bywyd adnewyddol o fis i fis, ac o flwyddyn i flwyddyn, ac y mae megys pren ar làn afonydd dyfroedd, yn dwyn ei ffrwyth yn ei bryd. Mae yr UDGORN yn rhybyddio y Saint i barotoi a ffoi o Babilon, a saif y *Seren* megys yn y ffurfafen i'w goleuo. Na ddibrisied y genedl Gymreig ein *sain* a'n *goleuni*, onide nis gallant fod yn genedl i Dduw. Gŵyr y Saint pa fodd i ymddwyn tuag atom, oblegid gwyddant o ba fara y bwytawn, ac o ba ffynnon yr yfwn, er eu gwasanaethu trwy gyfrwng yr Udgorn neu'r Seren. Ni pherthyn i ni ein hunain ond ein gwendid a'n hanmherffeithrwydd; Duw bia y trysor sydd yn ein llestr pridd, a hwnw yw yr unig beth a werthfawrogwn, oblegid gallu Duw ydyw. Nid mewn gallu dyn efo'i iaith fawreddog a'i ddysg ddofn yr ymddiriedwn, ond mewn gallu ag sydd yn sibrwd meddwl Duw yn mynwes ei blant—nid iaith y cymmysgedd, eithr cyfrwng siarad y pur o galon.

Bellach, anwyl ddarllenwyr, dymunwn dangnefedd i chwi, a diolchwn o galon am y gefnogaeth a roddasoch. Mae ein gohebwyr a'n dosparthwyr yn ein cof hefyd, a chânt eu gwobrwyo am eu gwaith gan Dduw holl-gyfoethog. Mae y flwyddyn ar derfynu yn awr, a gelwir ninnau i faes 1851 i udganu yr UDGORN ceiniog bob bythefnos; a gobeithiwn y cawn ein derbyn genych yn fwy awyddus nag erioed. Gweddiwch drosom yn ddibaid; a'r Arglwydd a'ch bendithio oll, trwy Iesu Grist. Amen.

Yr eiddoch, yn rhwymyn yr efengyl,

JOHN DAVIS.

*Rhagfyr* 23, 1850.

# CYNNWYSIAD.

RHIF. 13.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. II.] IONAWR, 1850. [PRIS 2½g.

## CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1850.

☞ Yr achos na ddaeth y rhifyn hwn allan ar y 25ain, oedd, o herwydd ein bod yn methu cael papyr wedi ei wneuthur mewn pryd. Nid oedd papyr o faintioli hwn i'w gael yn barod yn y lle yr arferem brynu, ac felly gorfu i ni aros i'w wneyd; ond nid ydym wedi colli dros wythnos, er hyny. Gofalwn ddanfon ein Rhifynau yn brydlawn y flwyddyn hon etto, fel arferol, a gobeithio y cyd-weithreda pawb yn hyny.

☞ Bydd yn well rhwymo yr "Udgorn" ar ei ben ei hun, yn lle gyda llyfrau ereill, a gosod Cyf. I. arno, fel y byddo yn unffurf â'r cyfrolau a gyhoeddir etto. Er hyny, cynghorem bawb i rwymo "Hanes Ymfudiad y Saint i California," a'r "Epistol Cyffredinol Cyntaf," gyda'r "Udgorn," o herwydd eu bod megys yn dal cyssylltiad ag ef. Dylid gosod yr amleni ar ddiwedd yr Udgorn.

"J. E."—Na, nid yn Llyfr yr Eglwys y mae ysgrifenu ynghylch y swmiau a gyfrana y Saint at wahanol achosion, ond mewn rhyw lyfryn arall. Dywedasom yn ddigon eglur o'r blaen.

LLYFR YR EGLWYS.—Taer ddymunwn ar yr holl lywyddion i wneuthur ei goreu i gasglu tuag at y llyfr uchod, fel y byddom yn cael yr arian i mewn yn fuan; o herwydd y bydd symiau mawr arnom i dalu am dano yn mhen oddeutu mis neu chwech wythnos. Dylem gael yr arian o bob man cyn hyny, o herwydd fod y llyfr yn rhatach nag y gwnai neb yn Nghymru na Lloegr ei werthu.

DYLEDWYR.—Mae yn hysbys nad yw rheolau ein heglwys ni yn caniatâu i neb ymfudo yn ddyledus i'r byd, oddieithr eu bod yn cael eu rhyddhau. Dymunwn gynghori masgnachwyr a siopwyr y Gweithfeydd, i beidio gadael neb o'r Saint i redeg yn ormodol mewn dyled iddynt, fel y gadawant enwadau ereill. Maent trwy hyny yn tylodi eu hunain a'r Saint. Gobeithiwn y bydd rhybydd fel hyn yn lles i'r ddwy ochr, fel na byddom ni yn cael ein syfrdanu ar amseroedd ymfudo. Pobl ymfudol yw y Saint, ac ymdreched siopwyr a masgnachwyr, ac yn neillduol hawkwyr té, i ddeall hyny.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 13.] IONAWR, 1850. [CYF. II.

### UDGANIAD DECHREU BLWYDDYN.

ANWYL DDARLLENWYR,—Ar ddechreu y flwyddyn 1850, tueddir ni i udganu "Blwyddyn Newydd Dda i chwi." Mae hyny yn weddus, pan yr ystyriom fod ein HUDGORN lawer yn fwy eleni, a chwithau wedi bod mor garedig â'n derbyn i udganu yn eich plith yn ystod y flwyddyn ddiweddaf. Y mae llawer, fel ninnau, yn cyfarch eu gilydd â "Blwyddyn Newydd dda," heb wybod ond ychydig pa un ai da ai drwg a fydd. Mae dull blynyddau y byd hwn yn cyfnewid yn barhaus. Gwelodd un flwyddyn Adda ac Efe yn frenin a brenines yn eu gardd baradwysaidd; ond gwelodd un arall ddiluw yn bedyddio y byd i farwolaeth ei "hen ddyn," fel y gallai wisgo y "dyn newydd" Noah. Gwelodd blynyddoedd ereill ddystrywio dinasoedd gan wlaw tanllyd, a chenedloedd cyfain gan gyflafan rhyfeloedd. Bu blwyddyn unwaith pan y gorymdeithiai Israel rhwng muriau dyfrllyd y Môr Coch, ac y gorweddai Pharaoh a'i luoedd yn eu carneddi. Aml flwyddyn yr ymddangosodd yr Arglwydd i ddyn, ac yr ymddyddanodd ag ef, hyd y nod wyneb yn wyneb. Llawer prophwyd a welodd y blynyddoedd megys sêr goleu i oleuo y ddaear, ac i ddyoddef cael eu diffodd gan blant y tywyllwch. Cafodd rhai blynyddoedd yr anrhydedd o bresennoldeb Etifedd y nefoedd mewn agwedd gwas ar y ddaear, a'i glywed yn dadgan geiriau yn cynnwys bywyd tragywyddol; a blwyddyn arall oedd yn lygad-dyst o'i groeshoeliad rhwng lladron am ei ddaioni. Blynyddau ereill a

welsant ei ddyscyblion yn crwydro yn erlidiedig o ddinas i ddinas, ac o garchar i garchar. Wedi hyny daeth blynyddoedd pan y cawsant eu dyfetha mewn amryfal ffyrdd, nes i'r eglwys gael ei chipio i'r diffaethwch, o olwg sarff ddinystriol y byd hwn, yno i gael ei meithrin hyd flwyddyn yr adferiad gan angel. Yna yr ymdaenodd blynyddoedd lawer o dudew dywyllwch, y rhai a fagasant yn mhlith plant dynion dduwioldeb o anwybodaeth, pan y gwelwyd llawer yn ferthyredig am grefydd heb ei grym. Fel hyn yr oedd dull y blynyddau yn cyfnewid yn barhaus, ac o un i un yn myned heibio. Wedi y blynyddoedd hirfaith o deyrnasiad gau-grefydd, bu y flwyddyn 1823 yn dyst o weled angel yn ehedeg yn nghanol y nef, yn dyfod â'r efengyl dragywyddol ganddo i'r ddaear, er ei hefengylu i ddynion. Gwelodd blwyddyn arall ar ol hyny laddiad Iesu Grist a'i apostolion yn cael ei efelychu yn merthyrdod Joseph y prophwyd a'i frawd; a blynyddoedd canlynol a welsant y grefydd ddwyfol yn llwyddo yn ngwyneb pob erlidigaeth a gwawd. Tystia y blynyddoedd diweddaf, yn neillduol 1849, mai llwyddo a wna nes llwyr ddychwelyd teyrnas y tywyllwch, a gosod enw Iesu Grist goruwch pob enw arall.

Yn awr, anwyl ddarllenwyr, dyma flwyddyn newydd etto, a diau y bydd ei dull yn myned heibio, a'i hanesyddiaeth yn cael ei ysgrifenu. Mae ei thudalen gyntaf wedi ei ysgrifio. Am hyny, bydded pawb yn wyliadwrus, rhag y bydd gweithredoedd drwg yn cael eu hysgrifenu am danynt yn nghyfrol y flwyddyn newydd hon. Edryched yr holl Saint, a phawb sydd yn caru clywed fod Duw yn llefaru yn yr oes hon, na fyddont yn esgeuluso ei wrandaw. Mae efe yn gwybod y diwedd o'r dechreu, ac yn gwneyd ei feddwl yn hysbys i'w weision am yr hyn a gymmer le ar fyrder. Mae Efe, trwyom ni ac ereill, yn gwahodd ei bobl yn barhaus, i ddyfod allan o Babilon, rhag cyfranogi o'i phläau a'i dinystriau; a chychwyn ar frys tua Seion, lle y mae wedi addaw gwaredigaeth i'w bobl. Ufyddhaed pawb a allo i'r alwad, fel y byddo y flwyddyn hon yn flwyddyn newydd dda iddynt. Bydd blynyddau newydd Babilon yn myned waeth-waeth o hyn allan, a daw cyn hir ei blwyddyn olaf, a blwyddyn ei dinystr

mawr. Gan hyny, gweddied y Saint ar Dduw, dros eu gilydd, a throsom ninnau, ar i ni oll eleni gael "Blwyddyn Newydd dda," trwy gael ein gwaredu oddiwrth gynddaredd y gelyn, a chael llwyddiant i helaethu terfynau teyrnas yr Immanuel, fel y gallom etto ganu ar fynydd Seion,

Cawsom hyfryd waredigaeth,
Trwy ddod maes o'i "chanol hi;"
Mwyach ni fydd pläau Babel
Yn effeithio arnom ni.
Hedd sydd yma yn lle rhyfel,
Rhyddid perffaith yn lle trais:
Hyn a gawsom gan yr Arglwydd,
Am in' wrandaw ar ei lais.

---

## DARLITHIAU JOSEPH SMITH AR FFYDD.*

### DARLITH I.

GAN mai ffydd yw yr egwyddor gyntaf mewn crefydd ddadguddiedig, a sylfaen pob cyfiawnder, y mae o ganlyniad yn hawlio y lle cyntaf mewn cwrs o ddarlithiau a fwriedir er iawn ddeall athrawiaeth Iesu Grist.

Wrth ymdrin â'r pwnc o ffydd, cawn gadw at y drefn ganlynol:—

Yn gyntaf,—Ffydd ei hunan—beth ydyw?

Yn ail,—Y gwrthddrych ar ba un y gorphwysa. Ac

Yn drydydd,—Yr effeithiau a ddylifant oddiwrthi.

Yn gysson â'r drefn hon, y mae genym yn gyntaf i sylwi pa beth ydyw ffydd.

Mae awdwr yr epistol at yr Hebreaid, yn yr unfed bennod ar ddeg o'r epistol hwnw, a'r adnod gyntaf, yn rhoddi yr eglurhad canlynol ar y gair *ffydd*:—

"Ffydd yn wir yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled."

Oddiwrth hyn dysgwn mai ffydd yw y sicrwydd sydd gan ddynion o fodoliaeth pethau na welsant, a'r egwyddor o weithrediad yn mhob bod deallgar.

* Meddyliasom y byddai cyfieithu y darlithiau hyn i'r Gymraeg, yn ddymunol gan ein darllenwyr oll, o herwydd eu bod mor ardderchog. Traddodwyd hwynt ar y cyntaf o flaen dosparth o Henuriaid, yn Kirtland, Ohio,

Pe buasai dynion yn iawn ystyried eu hunain, a throi eu meddyliau a'u myfyrdodau at weithrediadau eu meddwl eu hun, canfyddent yn union mai ffydd, a ffydd yn unig, yw yr achos symudol o bob gweithrediad ynddynt; ac hebddi byddai y meddwl a'r corff mewn sefyllfa ddifywyd, a pheidiai eu holl ymdrechiadau, yn gorfforol a meddyliol.

Pe troai y dosparth yma yn ol, ac edrych ar hanes eu bywyd, o'r amser cyntaf y gallent gofio, a gofyn iddynt eu hunain pa egwyddor a'u cynhyrfodd i weithredu, neu pa beth a roddodd nerth a bywiogrwydd yn eu holl anturiaethau, galwadau, a gorchwylion cyfreithlawn, pa beth fyddai yr ateb? Ai nid y sicrwydd a feddem am bethau nad oeddem wedi weled etto, a fyddai? Ai nid y gobaith a feddech, mewn canlyniad i'ch ffydd mewn bodolaeth pethau anweledig, a'ch cynhyrfodd chwi i weithredu ac ymdrechu er mwyn eu meddiannu? Ai nid ydych chwi yn ymddibynu ar eich ffydd, neu gred, er cyrhaedd pob gwybodaeth, doethineb, a newyddion? A wnelech chwi ymdrechu i gyrhaedd doethineb a newyddion, oni buasai eich bod yn credu y gallech eu cael? A wnelech chwi hau, pe byddech heb gredu y cawsech fedu? A wnelech chwi blanu, pe credasech na chawsech gasglu o'r ffrwyth? A wnelech chwi geisio, pe na chredasech y caech? A wnelech chwi chwlio, oddieithr eich bod yn credu y cawsech afael? Neu a wnelech chwi guro, oddieithr eich bod yn credu y buasid yn agor i chwi? Mewn gair, a oes rhywbeth a allech chwi fod wedi ei wneyd, yn gorfforol neu feddyliol, pe buasech heb gredu yn flaenorol? Ai nid yw eich ymdrechiadau o bob math, yn ymddibynol ar eich ffydd? Neu, a allwn ni ofyn, pa beth sydd genych, neu a fu genych, ag na chafwyd trwy weithrediad eich ffydd? Ai nid yw eich bwyd, eich gwisgoedd, eich lletty,—oll yn deillio trwy ffydd? Adfyfyriwch, a holwch eich hunain os nad yw y pethau hyn felly.—Trowch eich drychfeddyliau ar eich meddwl eich hunain, ac edrychwch os mai nid ffydd yw yr achos symudol o bob gweithrediad ynoch; ac os mai hi yw yr achos symudol ynoch chwi, paham nad yn mhob bod deallgar arall hefyd?

A chan mai ffydd yw yr achos symudol o bob gweithrediad mewn pethau tymmorol, felly hefyd mewn pethau ysbrydol; canys y mae'r Iachawdwr wedi dweyd, a hyny yn wirioneddol, mai y neb a *gredo* ac a fedyddier, a fydd cadwedig. Marc xvi, 16.

Fel ag yr ydym yn derbyn pob bendithion tymmorol trwy ffydd, efelly yn yr un modd y derbyniwn trwy ffydd yr holl fendithion ysbrydol ag yr ydym yn dderbyn. Ond y mae ffydd nid yn unig yn egwyddor o weithrediad, ond o allu hefyd, yn mhob bod deallgar, pa un bynag ai yn y nefoedd ai ar y ddaear. Fel hyn y dywed awdwr yr epistol at yr Hebreaid, xi, 3 :—

"Wrth ffydd yr ydym yn deall wneuthur y bydoedd trwy air Duw, yn gymmaint nad o bethau gweledig y gwnaed y pethau a welir."

Wrth hyn y deallwn mai yr egwyddor o allu a fodolai yn mynwes Duw, trwy yr hon y lluniwyd y bydoedd, oedd ffydd ; ac mai o herwydd yr egwyddor hon o allu yn bodoli yn y Duwdod, y mae pob peth creuedig yn bodoli ; fel ag y mae pob peth yn y nefoedd, ar y ddaear, neu odditan y ddaear, yn bodoli o herwydd ffydd fel ag y bodola ynddo Ef.

Oni buasai yr egwyddor o ffydd, ni fuasai y bydoedd byth yn cael eu llunio, ac ni chawsai dyn ei wneuthur o bridd. Hon yw yr egwyddor trwy ba un y mae'r Jehofa yn gweithio, a thrwy yr hon y mae yn gweithredu gallu dros bethau tymmorol yn gystal â thragywyddol.—Cymmerwch yr egwyddor neu'r briodoledd hon —o herwydd y mae yn briodoledd—oddiwrth y Duwdod, a darfyddai fodoli.

Pwy na all weled, os lluniodd Duw y bydoedd trwy ffydd, nad trwy ffydd hefyd y mae efe yn gweithredu gallu arnynt, ac mai ffydd yw yr egwyddor o allu ? ac os mai yr egwyddor o allu, y mae yn rhaid ei bod mewn dyn yn gystal ag yn y Duwdod ? Dyma dystiolaeth yr holl ysgrifenwyr ysbrydoledig, a'r wers a fuont hwy yn ymdrechu ei dysgu i ddyn.

Dywed yr Iachawdwr (Math. xvii, 19, 20), wrth egluro yr achos nad allai ei ddyscyblion fwrw y cythraul allan, mai o herwydd eu hanghrediniaeth oedd ; "canys yn wir y dywedaf i chwi, Pe bai genych ffydd megys gronyn o had mwstard, chwi a ddywedech wrth y mynydd hwn, Symud oddiyma draw, ac efe a symudai ; ac ni fydd dim anmhosibl i chwi."

Y mae Moroni, pan yn talfyru a chrynhoi cof-lyfrau ei dad, yn rhoddi i ni yr hanes canlynol o ffydd yn egwyddor o allu. Dywed, yn nhud. 540, mai ffydd Alma ac Amulek a achosodd i furiau y carchar i ddryllio, fel y desgrifir yn nhud. 251 ; mai ffydd Nephi a Lehi a achosodd gyfnewidiad i gael ei weithredu yn nghalonau

y Lamaniaid, pan y cawsant eu gorchuddio gan yr Ysbryd Glân a chan dân, fel y gwelir yn nhud. 403; ac mai trwy ffydd y symudwyd y mynydd Zerin pan lefarodd brawd Jared yn enw yr Arglwydd. Gwel hefyd tud. 54, o'r ail argraffiad Ewropaidd.

Mewn ychwanegiad at hyn dywedir yn Heb. xi, 32—35, i Gedeon, Barac, Samson, Jephthae, Dafydd, Samuel, a'r prophwydi, trwy ffydd, oresgyn teyrnasoedd, gwneuthur cyfiawnder, cael addewidion, cau safnau llewod, diffodd angerdd y tân, dianc rhag min y cleddyf, cael eu nerthu o wendid, eu gwneyd yn gryfion mewn rhyfel, a gyru byddinoedd yr estroniaid i gilio, a gwragedd i dderbyn eu meirw trwy adgyfodiad, &c., &c.

Josua hefyd, yn ngolwg holl Israel, a orchymynodd i'r haul a'r lleuad i sefyll; a bu felly. Jos. x, 12.

Yr ydym yn deall yma, fod yr ysgrifenwyr ysbrydoledig yn dwyed fod yr holl bethau hyn yn cael eu cyflawni trwy ffydd. Trwy ffydd y lluniwyd y bydoedd. Llefarodd Duw, clywodd *chaos*, a daeth y bydoedd i drefn trwy y ffydd ag oedd ynddo Ef. Efelly gyda dyn hefyd; llefarodd trwy ffydd yn enw Duw, a safodd yr haul, ufyddhaodd y lleuad, symudodd y mynyddoedd, cwympiodd carcharau, cauwyd safnau llewod, collodd y galon ddynol eu heiddigedd, tân ei angerdd, byddinoedd eu gallu, y cleddyf ei ddychryn, ac angeu ei awdurdod; a'r cyfan o hyn trwy y ffydd ag oedd ynddynt.

Oni buasai y ffydd ag oedd mewn dyn, gallent fod wedi llefaru wrth yr haul, y lleuad, y mynyddoedd, carcharau, y galon ddynol, y tân, y byddinoedd, y cleddyf, ac wrth angeu, yn ofer!

Ffydd, ynte, yw yr egwyddor fawr lywodraethol gyntaf ag sydd â gallu, rheolaeth, ac awdurdod ar bob peth; trwyddi y maent yn bodoli, trwyddi y maent yn cael eu dal i fyny, trwyddi y maent yn cael eu cyfnewid, neu trwyddi y maent yn aros, yn unol ag ewyllys Duw. Hebddi nid oes dim gallu, ac heb allu ni allai fod creadigaeth na bodoliaeth!

---

## EPISTOL Y PRIF-GYNGHOR AT Y SAINT CYMREIG.

ANWYL SAINT,—Dyma y waith gyntaf i ni eich anerch yn y dull hwn; er hyny, yr ydych wedi bod yn gwrandaw arnom er dechreuad ein goruchwyliaeth, mewn rhyw ddull neu gilydd, naill ai bob mis yn yr UDGORN, neu mewn cymmanfaoedd chwar-

terol a blynyddol, neu yn ein hymweliadau atoch. Yr ydym wedi llefaru wrthych trwy lywyddion cynnadleddau a changenau, a thrwy bob swyddog yn Nghymru. Gweddiwn yn fynych drosoch oll, ar i'n Tad grasol eich bendithio â'i Ysbryd, fel ag y byddoch yn ddoeth i iachawdwriaeth; a gobeithiwn eich bod chwithau yn gweddio yn barhaus drosom ninnau, ar i Dduw i'n llanw â doethineb er eich arwain chwi ar hyd ei ffyrdd. Mae eiddigedd y diafol yn fwy yn ein herbyn ni nâ neb yn Nghymru, ac y mae anghen i'r holl Saint weddio yn daer ar ein rhan, fel y gallom sefyll yn ddisigl hyd y diwedd.

Hyderwn eich bod yn ufyddhau i bob dysgeidiaeth a roddir i chwi o bryd i bryd, a'ch bod yn awyddus am fwyd ysbrydol yn barhaus, gan ystyried mai geiriau gweision Duw yw y bwyd hwnw, ac nad oes ffordd i dderbyn geiriau y bywyd tragwyddol ond trwy enau swyddogion yr eglwys.

Mae eich manteision yn awr yn cynnyddu yn barhaus, gan fod genych gymmanfaoedd yn mhob parth o'r wlad, lle y gallwch chwi a'ch bugeiliaid dderbyn adnewyddol fywyd bob tro. Ymdreched yr holl swyddogion i fod yn bresennol yn mhob un, ac hefyd yn mhob cynghor, fel y galiont gael cyfleusdra i ddeall cyfreithiau teyrnas Dduw, a chasglu doethineb i'w gweinyddu. Dylai pob llywydd cangen, neu ei gynghorwyr, fod yn bresennol yn mhob cynghor, canys yno y mae eu holl nerth. Rhaid iddynt dderbyn eu bwyd ysbrydol yn wastad trwy eu pen, os ydynt am gynnyddu ar ddelw Duw. Mae gormod o esgeulusdod mewn rhai manau ynghylch hyn; a gobeithiwn y diwygir ar frys. Yr ydym yn caniatâu i lywyddion cangenau pellenig mewn cynnadleddau, i alw eu swyddogion ynghyd, bob pythefnos, neu amlach, i'w dysgu i weinyddu yn eu gwahanol swyddi, ac i ofyn cwestiynau ynghylch yr hyn a fyddo yn dal cyssylltiad â hwynt fel swyddogion; ond ni fydd rhyddid i drin unrhyw faterion a berthyn i gynghor y gynnadledd. Pob peth na fyddo y llywyddion yn wybod, a allant ddysgu yn y cynghor cynnadleddol.

Y mae genym sylw fel hyn i wneuthur ynghylch y cymmanfaoedd. Mae yn hysbys eu bod yn lliosog, ac yn dygwydd yn fynych yn yr un lle. Achosa hyny weithiau dlodi mawr yn mhlith y Saint sydd yn y lleoedd hyny, gan fod cymmaint o ddyeithriaid yn bwyta ganddynt. Gwyddom fod hyny yn llesgâu laweroedd yn y ffydd; a chynghorem lywyddion y cynnadleddau

i ddysgu'r Saint i ddarparu drostynt eu hunain a'u bugeiliaid yn mhob cymmanfa felly, fel na byddont mewn un modd yn faich ar y Saint tlodion. Mae yr un mor rhwydd i ddynion gosti eu hunain mewn cymmanfa, ag ydyw mewn ffair neu farchnad. Nid mewn cymmanfa y dylai'r Saint ymarfer eu llettygarwch, ond ar achosion ereill. Mae cymmanfa yn ormod ar unwaith. Mae tai llywyddion y cynnadleddau hefyd yn cael eu gorlenwi yn afresymol ar achlysuron o'r fath, nes y mae eu teuluoedd yn dychrynu rhag gweled un gymmanfa arall. Dylai y llywyddion gael llonydd ar amseroedd felly gan bawb, ond y rhai sydd â negeseuau ganddynt. Gwyddom bethau fel hyn trwy brofiad ein hunain, ac am hyny yr ydym yn dysgu ereill. Gobeithiwn y bydd awgrym fel yna yn ddigonol i bawb.

Dymunwn alw sylw y Saint a'r swyddogion oll at yr eglurhad a roddwyd yn yr Udgorn diweddaf, mewn perthynas i ddyfodiad yr annysgedig a'r digred i gyfarfodydd neillduol y Saint. Dichon y bydd yr eglurhad hwnw yn achosi i lawer o'r byd ddyfod i'r cyfryw gyfarfodydd, yn fwy o lawer nag arferol; ond na ofaled neb o'r Saint ynghylch eu presennoldeb. Aent yn mlaen fel arferol â phob peth, er adeiladu yr eglwys; ac ymestyned pob un at berffeithrwydd yn yr amrywiol ddoniau,—mewn tafodau, cyfieithad, prophwydoliaeth, canu a gweddio â'r Ysbryd ac â'r deall, &c. Na thristäer dim o herwydd presennoldeb barnwyr y byd hwn: nid yw y Saint i gael eu barnu gan neb ond y sawl sydd wedi derbyn ysbryd prophwydoliaeth a dadguddiad. Nis gall y byd dderbyn hwnw, ac felly ni allant farnu dim mewn perthynas i'r Saint. Mae y Saint i fod yn oleuni y byd; ac yna lle y byddont hwy wedi ymgasglu ynghyd, y mae yno lawer o ganwyllau yn goleuo; a phwy a ŵyr nas gall eu goleuni oleuo y tywyllaf o ddynion. Y mae mwy o Ysbryd y goleuni yn nghyfarfod cymdeithasol y Saint, nag mewn un arall; a chan hyny, pa berygl sydd i'r byd ddyfod i mewn atynt? Dim yn y byd. Gadewch iddynt i ddyfod; gwyddom am lawer sydd wedi eu hargyhoeddi felly. Ond etto, y mae gwaith gan y llywyddion a'r Saint i wylio rhag dynion hocedus a drwg, rhag eu bod yn cymmeryd arnynt i fod yn Saint, a hwythau yn fleiddiaid. Na dderbynier neb fel Saint i'ch tai na'ch cyfarfodydd, heb lythyr argraffedig, wedi ei arwyddo yn rheolaidd. Cyhoeddwyd o'r blaen nad yw y Saint i ymarfer un ddawn ysbrydol, na thystiolaethu, ond yn eu cang-

enau eu hunain. Mae trefn a doethineb yn hyny, a dysger felly yn mhob cangen; a bydd bendith Duw yn dilyn.

Dymunwn sylwi wrth y llywyddion a'r Saint sydd yn y Gogledd, yn gymmaint â bod yr Henuriad Abel Evans yn bwriadu ymfudo i Seion, na fydd neb yn bresennol yn cael ei osod yn ei le; ond etto y gofelir am danynt, trwy ddanfon cenad yn awr ac yn y man i ymweled â hwynt, a'u dysgu. Rhodder digon o ymddiried yn y llywyddion sydd ar y gwahanol gynnadleddau yno, a byddant yn ddigon galluog eu hunain. Ufyddhaed y Saint a'r swyddogion oll i lywyddion y cynnadleddau, megys y gwnelent i'r Henuriad A. Evans, a bydd bendith ar eu penau. Y Duw grasol a'ch bendithio chwi oll.

Y mae un peth neillduol etto, cyn diweddu, a ewyllysiem nodi wrth y llywyddion o bob gradd, a'r Saint hefyd. Yn gymmaint â bod mwy o fanteision gan Saint y Dyddiau Diweddaf, nâ'r Saint cyntefig, dylent wneyd fawr o'r manteision hyny. Mae yr argraff-wasg yn fendith sydd yn perthyn i'r dyddiau diweddaf yn unig, ac nid oes un fendith yn fwy. Pwy sydd i bregethu i foneddigion ein gwlad, i'w phregethwyr a'u hoffeiriadon? Ni chaiff neb ond llyfrau ddyfod yn agos atynt. Pwy sydd i argyhoeddi y lluoedd dynion gonest sydd yn rhy uchel eu cymmeriadau i ddyfod i lawer ystafell sydd gan y Saint? Beth a wneir o'r diaconiaid ac ereill sydd yn fawr eu sêl i beidio myned i un man, ond y capel? Ai dynion anllythyrenog a diddylanwad yn unig sydd eisieu eu hargyhoeddi? Nage, nage; ond hefyd y dynion mwyaf da, a mwyaf eu dylanwad a'u cymmeriad. Gan hyny, annogwn yr holl lywyddion a'r Saint i fynu cyflawnder o'r gwahanol draethodau bychain sydd yn cael eu hargraffu yma, a phigo y swyddogion mwyaf eu dylanwad i fyned â hwy o dŷ i dŷ, a'u newid bob wythnos. Gwna hyny fwy o waith na ddychymmyga neb; canys pa le y ceir geiriau â chymmaint o ddoethineb Duw ag sydd yn y llyfrau a gyhoedda prif-lywyddiaeth y genedl? Os oes rhyw gynnadledd am lwyddiant anarferol, ac am gael dynion darllengar a dylanwadol i'w plith, bydded iddynt ddosparthu mwy o lyfrau. Dygant ffrwyth ar eu canfed, a magant Saint mwy treiddgar a dylanwadol, y rhai a wrandawant fwy ar yr hyn a ysgrifenir o fis i fis, nag a wna llawer yn awr. Yr ydym yn ysgrifenu y pethau hyn, o herwydd mai nyni a osodwyd i'ch dysgu yn mhob peth: ac yr ydym mor hyf i'ch dysgu i gyfranu.

at lyfrau ac at gynnaliaeth llywyddion eich cynnadleddau, ag yr ydym wrth eich dysgu i weddio drosom. Yr ydym yn dymuno na fydd un llywydd na swyddog o un math, heb gael ei annog i ddarllen yr ysgrythyrau, a'r holl lyfrau a gyhoedda yr eglwys yn y dyddiau hyn, fel y byddont hwythau yn creu awydd yn y Saint, a'r Saint yn y byd. Yn ol fel y byddo tuedd pob llywydd, y bydd pawb dan ei lywyddiaeth: ni fydd llawer o wobr o beidio myned i drafferth ynghylch gwerthu a dosparthu llyfrau, mwy na phregethu; canys y mae llyfr yn gymmaint o bregethwr ag un swyddog, os nad mwy, ar droion, pan fyddo y swyddog yn annhrwsiadus, neu yn gwisgo siaced neu neisiad coch. Dylai pob swyddog sydd yn sefyll uwchben y cyhoedd, fod yn drwsiadus, ac yn debyg i bregethwr yn ei wisg, onide pwy ond rhywrai tebyg iddo ei hunan a'i gwrandawa?

Yn awr, yr ydym yn diweddu, gan ddymuno y bydd i'r Arglwydd fendithio ei Saint oll trwy Gymru; ac yr ydym ninnau yn gadael ein bendith a'n tangnefedd arnynt oll, yn llywyddion, swyddogion, a Saint, gan ddywedyd y bydd mwy o lwyddiant yn eu dilyn o hyn allan nag erioed. Dyna yw ein gweddi daer yn enw ein Harglwydd Iesu Grist. Amen.

Eich gostyngedig weision yn Nghrist,

William Phillips,
Abel Evans,
John Davis.

---

## "HEB ARIAN, AC HEB WERTH."

Yn fy nheithiau yn mhlith y Saint, clywais y testun uchod yn cael ei ddefnyddio yn bur aml; gan rai o herwydd anwybodaeth, a chan ereill o herwydd na feddent ond eneidiau bychain. Mae y Saint yn gyffredin, er yn dlawd, yn fobl haelionus, cymmwynasgar, a rhwydd eu calon; ac wrth ystyried eu galluoedd bychain, y mae yn syndod i weled yr hyn a allant gyflawni. Ond yn eu plith y mae ychydig o ddynionach, y rhai, tra mae ereill yn gosod eu llaw wrth y gwaith, a ânt oddiamgylch, gan fethu bod yn llonydd eu hunain, na gadael ereill yn llonydd, os gallant hwy help; a phan y byddo rhyw henuriad yn gwneyd ei anghen yn adnabyddus, trwy erfyn cochl, pâr o esgidiau, neu gost trafaelu;

neu os bydd llywydd cynnadledd ag eisieu modd i fyned i'r Dyffryn, y mae'r ceintachwr yn botymu ei boced, ac agor ei lygaid mewn llawn syndod, gan waeddi,—"Yr oedd yr apostolion yn pregethu heb arian, ac heb werth: meddyliais pan yr unais â'r eglwys hon na fyddai dim arnaf i dalu." Mewn gwirionedd yr wyf yn credu fod rhai dynion yn cymmeryd eu bedyddio dan yr argyhoeddiad y byddant yn safio rhent eu hen gorau a phris y *class tickets*; a chewch eu clywed yn brolio gymmaint a wnaethant dros yr henuriaid sydd wedi myned, ac yn y gangen yr oeddynt yn perthyn iddi yn flaenorol. Siaradant ynghylch rhoddi eu bywyd i lawr, wynebu angeu yn ei ddulliau erchyllaf, a llawer o bethau ereill nad yw neb am iddynt wneyd. A phan y celont allan y dirgelwch enbyd o fod rhent y Neuadd i gael ei dalu, fod yr henuriad a'i deulu yn byw fel dynion ereill, heblaw trwy ffydd yn unig, a bod eisieu dillad, bwyd, a lle i guddio eu penau arnynt, ac arian i dalu am ager fadau a cherbydau: a dywedwch ynghylch talu degwm i adeiladu teml i Arglwydd y lluoedd; pa le, bryd hyny, y mae'r cawr galluog ag oedd yn gwneyd y fath fwstwr? y mae wedi cilio o'r ffordd yn ddystaw, yn ddechreu canfod beiau, yn aros ymaith o'r cyfarfodydd, ei feddwl yn dechreu tywyllu, nes yn y diwedd, y mae duw y byd hwn yn dallu ei lygaid—mae yn myned yn wrthgiliwr, ac yn colli ei enaid!

Yr oedd Iesu, pan yn danfon allan ei weision i bregethu yr efengyl, yn gorchymyn iddynt i beidio darparu pwrs nac ysgrepan, na dwy bais, &c., ac i bregethu yr efengyl heb arian ac heb werth. Ond, a feddyliodd efe na fuasai eu dillad byth yn treulio allan, ac na fuasai arnynt byth eisieu arian? Dim y fath beth. Yr oedd arno ef eisieu profi ffydd ei weision, ac hefyd i gael gweled os gwnai y byd eu derbyn trwy ufyddhau i'w geiriau, eu bwyda, eu dilladu, a'u diwallu ag arian, os byddai anghen, a'r bobl yn alluog i hyny; a thrwy hyny i gael prawf ai cael ei dderbyn neu ei wrthod a gawsai efe ei hunan; canys dywedai, "Yr hwn sydd yn eich derbyn chwi, sydd yn fy nerbyn i; a'r hwn sydd yn eich gwrthod chwi, sydd yn fy ngwrthod i." Pe buasai efe wedi syfydlu trysorfa genadol, gan roddi arian iddynt i dalu am letty yn y dref nesaf, ac adeiladu capel, rhenti corau am hyn a hyn y mis neu'r chwarter, a chael cyflog sefydlog am bregethu, nis gallai efe brofi y naill na'r llall. Ond gadewch i ni weled pa fodd y

pregethai yr apostolion heb arian ac heb werth. Ymgynnullasant yn Jerusalem yn ol gorchymyn yr Iachawdwr, pregethasant yr efengyl, a bedyddiasant y dydd cyntaf 3,000 o eneidiau, y rhai a werthasant eu meddiannau a'u tiroedd, gan eu rhanu rhwng pawb. Darllenwn yn y bedwerydd bennod o'r Actau, er nad oedd yr apostolion yn codi tâl am bregethu, nad oedd eisieu dim arnynt; pa fodd, ynte, yr oeddynt yn byw? Y rhai oedd ganddynt feddiannau a thiroedd, a'u gwerthasant, ac a ddaethant â'r arian, gan eu gosod wrth draed yr apostolion; ac un gwr tlawd a'i wraig, wedi gwerthu eu heiddo, a chadw cyfran o'r arian iddynt eu hunain, a darawyd yn farw am ddweyd celwydd yn eu cylch. Nid wyf yn meddwl fod hyn yn reol barhaus, ond mai amgylchiadau oedd yn gofyn hyny ar y pryd.

Dangosir fod yr efengyl i gael ei phregethu heb arain ac heb werth, heb ddarparu pwrs nac ysgrepan. Nid pa fodd y mae cael bywioliaeth sydd yn trwblu meddwl Henuriad y dyddiau diwedd-af. Y mae yn gyntaf yn ceisio adeiladu teyrnas Dduw; er gwneuthur hyn y mae yn gadael ei wlad, ei artref, ei gyfeillion, a'i gyfan; yn teithio miloedd o filltiroedd ar fôr a thir; lawer gwaith heb artref, diddosfan, na bwyd, heblaw terfysg meddwl ddydd a nos ynghylch iachawdwriaeth y Saint a llwyddiant teyrnas Dduw. Pwy a all fwrw gwerth y llafur? Pe byddai i ni werthu ein meddiannau, ein tiroedd, a phob peth, a rhoi yr arian wrth draed yr apostolion y dyddiau hyn; pe byddai i ni eu dilladu mewn aur a gemau o'u coryn i'w traed, a wnai hyny adferu anwylaidd gyfeillion, plant, brodyr, a chwiorydd, y rhai pan deyrnasai *mobrocracy*, trwy ddyoddefiadau ac erlidigaeth a roddwyd mewn beddau anamserol? A fyddai hyny yn bris am y wybodaeth nefolaidd a'r trysorau tragywyddol a drosglwyddwyd i ni gan y dynion hyny, y rhai, ynghanol tywallt gwaed ac angeu, yn cael eu hamgylchu gan wrthgilwyr a chythreuliaid mewn dull dynol, a safasant yn gadarn fel gorchfygwyr dewrion Seion? Na fyddai yn ddiau; canys ni all dim llai nâ choron a theyrnas annifianedig fod yn wobr ddigonol; y maent hwy yn deilwng o honi, a chânt ei meddiannu. Na ofned neb ei fod yn gwneuthur gormod, ynte,; canys fel y maent yn hau, y cânt fedi hefyd. Peidiwch a gofalu gormod ynghylch bod yr henuriaid yn safio arian. Ni adnabyddais un erioed yn gwneyd hyny. Os caiff efe ond bara a dwfr, ac yntau yn gwybod nas gall y bobl roddi dim

iddo yn well, ni wna byth geintachu. Os bydd ganddo fwy nag sydd arno anghen, efe yw y cyntaf i estyn ei law at yr anghenog, neu at rywbeth sydd yn dal cyssylltiad â theyrnas Dduw.

Ni fydd i mi byth dwyllo pobl trwy ddweyd wrthynt nad oes arnaf eisieu dim. Pregethaf yr efengyl yn gyntaf, ac ychwanegaf at hyny fy mod heb artref, bwyd, dillad, arian, fel y gallant hwy gael y fraint o ddarparu yr unrhyw; ac etto pregethaf yr efengyl heb arian ac heb werth. Llawenychfed y Saint am gael y fraint o wasanaethu tuag at anghenrheidiau gweision Crist, fel y byddant yn mhlith y rhai hyny a ddywedir wrthynt, "Deuwch chwi, fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er cyn seiliad y byd: canys bum newynog, a chwi a roisoch i mi fwyd: bu arnaf syched, a rhoisoch i mi ddiod: bum ddyeithr, a dygasoch fi gyda chwi: bum noeth, a dilladasoch fi: bum glaf, ac ymwelsoch â mi: bum yn ngharchar, a daethoch ataf."

W. C. DUNBAR.

---

## DYLEDSWYDD PLANT Y GOLEUNI.

DYLAI plant y goleuni, yn eu cenedlaeth, fod yn gallach nâ phlant y tywyllwch; ond nid felly y mae yn aml, yn y ddyddiau hyn, mwy nâ'r dyddiau cyntefig. Dylai y sawl sydd yn y goleuni, i rodio, a gwneuthur pob peth arall, yn y goleuni, fel y byddo ei weithredoedd yn eglur i bawb. Nid yw y nos yn cydagweddu â phlant y dydd; canys i ddeiliaid y tywyllwch y mae yn perthyn. Dyledswydd y Saint, ynte, yw gwneuthur yr hyn a allont yn y dydd, fel y gallont hwy fod yn gorphwys yn y nos, er rhoddi llonyddwch i blant y tywyllwch i gyflawni eu gweithredoedd drwg. Mae yn arferiad rhy gyffredin yn mhlith y Saint, yn neillduol yn y Gweithiau, i aros gormod yn nghyfeillach eu gilydd ar hyd y tai yn y nos. Gwir fod y gyfeillach yn felys, ond dylai y Saint feddu mwy o ddoethineb. Beth a ddywed anghredinwyr pan welant Saint yn gwneyd arferiad o beidio myned i'w lletty cyn deuddeg neu un yn y nos? Ni ddylai fod un aelod yn aros yn nhŷ neb dros ddeg o'r gloch, os na fydd ganddo ddyben neillduol i hyny. Mae y swyddogion, ar bob amserau, yn cael eu galw at gleifion ac i fedyddio; ond dylent ymdrechu i beidio treulio gormod o amser at hyny yn y nos, o herwydd fod dylanwad y tywyllwch yn effeithio ar eu gwaith.

Pan fyddo yn amser i bawb fyned tua thref, y mae llawer un yn cofio fod eisieu gosod dwylaw arno, &c; dylai hyny gael ei wneyd mewn amser. Arferiad drwg iawn hefyd yw canu yn anamserol; mae yn achosi erlidigaeth ar y Saint, ac oerfelgarwch yn mhlith brodyr. Nid oes dim yn fwy dinystriol i gysur a llwyddiant y Saint, nâ bod tai rhai o honynt yn cael eu llanw gan frodyr a chwiorydd am oriau yn y nos, i'r dyben o ymddyddan, canu, adrodd dadleuon, &c., nes byddo y lle yn debycach i dafarn o lawer nag i letty teuluaidd. Mae llawer yn dyoddef pethau fel hyn, ond gall pawb wybod nad ydynt yn eu hoffi. Pa le mae gartref y teuluoedd hyny? Pa bryd y maent yn cael cyfleustra i siarad â'u gilydd? Dichon y bydd dyeithriaid yn galw yn eu tai yn y dydd; ac y mae yn drueni na chawsent y nos iddynt eu hunain. Llawer llywydd cangen neu gynnadledd, a'u teuluoedd, sydd yn dyoddef yn druenus gan ymddygiadau o'r fath. Mynych y gwelsom Capt. Jones, y brawd W. Phillips, ac ereill yn cael eu croesawi, pan wedi blino wrth deithio, â lloned tŷ o Saint, rhai wedi parotôi iddynt nifer o gleifion i'w gwella, ereill ddigonedd o gwestiynau i'w hateb, a llawer yn awyddus i adrodd pa fodd yr argyhoeddwyd hwynt; nes eu cadw rhag gorphwys dim hyd hanner nos. Mae hyny yn hollol feius: nid dyna y ffordd i roesawu brawd dyeithr; ac nid dyna y ffordd i ddystewi ceintachrwydd gwragedd y rhai sydd allan ormod yn y nos. Dysged y llywyddion bethau fel hyn i'r Saint, a pheidient rhoddi esiamplau drwg eu hunain. Nid trwy osod dyeithr i fendithio yr holl fwyd, gosod dwylaw ar bawb, a sefyll ar y llawr hyd hanner nos, y mae ei roesawu, ond trwy olchi ei draed, gosod bwyd o'i flaen, a'i wahodd mewn amser i'r gwely. Os mai y Saint yw plant y goleuni, na fydded eu goleuni yn oleuni canwyllau, onide dichon y tywyllant fwy nag y goleuant.

---

## ANERCHIAD YMADAWOL ABEL EVANS.

Anwyl Saint Cymru,—Dymunaf eich anerch ar fy ymadawiad i wlad arall, y lle ag y mae fy enaid yn ei hoffi cyn ei weled, ond yn unig drwy ffydd, yr hon a ddaeth drwy glywed gair Duw; a chan fod Duw yn ein galw allan o Babilon, da genyf yw ufyddhau iddo, er y carswn weled llawer mwy mewn ufydd-dod i'r alwad ddwyfol hon, o'm hanwyl frodyr a chwiorydd, yn enwedig

y sawl sydd â modd ganddynt. Y Duw da a agoro y ffordd i'r tlodion ar ein hol, yw fy ngwir ddymuniad a'm gweddi barhaus ar yr Hwn sydd â phob calon yn ei law, er mwyn Crist. Yr ydwyf wedi bod yn llafurio yn eich plith, er yn agos i chwech mlynedd bellach; a theimlaf fy hun yn ddiolchgar am gael y fraint fawr hon o wasanaethu arnoch, pan yn gwybod plant i bwy ydych, sef i Dduw. Yr ydwyf fi o'm calon hefyd yn ddiolchgar i'r Hwn a'm galwodd ac a'm nerthodd yn y swydd bwysig hon byd yma; ac ymddiriedaf yn yr un gallu dwyfol yn ei wasanaeth yn yr amser dyfodol, i arwain ac amddiffyn fy anwyl frodyr a chwiorydd tua'r fan y cânt ddiddosfa, pan y bydd nerthoedd y nefoedd yn cael eu hysgwyd—pan y bydd yr heintiau a'r plaau ar Babilon, a'r ddaear yn ysgwyd fel bwth, yn siglo fel meddwyn —pan y bydd pob gau noddfa wedi darfod, a'r phiolau yn cael eu tywallt ar Babilon fawr—pan yr ymwelir â'r lleoedd uchel yn yr uchelder, a thrigolion y ddaear ar y ddaear, a'u carcharu mewn carchardy; ac ar ol llawer o ddyddiau yr ymwelir â hwynt!

Ar fy ymadawiad y tro hwn o Gymru, yr ydwyf yn teimlo fy hun yn rhydd oddiwrth waed pawb oll, allan o'r eglwys, ac hefyd ynddi. Nis gwn am un dim o'm heiddo a fu yn achos i gymmaint ag un i adael yr eglwys hon, nac hefyd a rwystrodd neb i ddyfod iddi o'r byd. Hefyd, gallaf alw ar bob swyddog a Saint, os oes gan rywun ryw gyhuddiad yn fy erbyn, o ryw barth o Gymru, am beidio a chuddio dim cyn fy ymadawiad, am yr hyn y byddaf yn dra diolchgar.

Ac anwyl frodyr a chwiorydd Gogleddol, yr ydych bob amser wedi gwrandaw ar bob cynghor o'm heiddo, am a wn i am danynt; a dymunaf etto ar i chwi wrandaw ar y cynghor olaf hwn o'm heiddo yn Nghymru; a hyn ydyw—sef, ymddiried digon yn yr offeiriadaeth, yr hon sydd yn meddiant gweision Duw a fydd yn eich plith, ac yn llywyddu arnoch. Ufyddhau ac ymddiried ynddynt hwy, yw ymddiried ac ufyddhau i Dduw; a thra y gwnewch hyny, bendithir chwi gan yr Hwn a'ch bendithiodd hyd yn hyn. Ond os anufyddhau a gwrthwynebu a wnewch y llywyddion a rydd Duw i'r dyben eich amddiffyn rhag eich gelynion, yna daw y gelyn i mewn fel yr afon, a chollwch yr Ysbryd Glân a'i gysuron a'i fendithion dwyfol; ac, O golled fawr a fydd hyny, anwyl Saint. Hefyd, na fydded i chwi feddwl y gellir eich diogelu na'ch amddiffyn gan yr hen fugeiliaid a fu yn eich

amddiffyn, am y bydd ganddynt lawn waith i ofalu am ereill a rydd eu Brenin i'w gofal, lle y bydd cryfach gelynion a mwy o ymosodiadau, a chyfrwysach o lawer. Ond eich llywyddion chwi a welant ac a ddeallant ymosodiadau eich gelynion yn yr amser a ddel, am y gwna'r gelynion gynnyg mewn llawer dull newydd; am hyny, nis gall yr oll a gawsoch o ddysgeidiaeth yn yr amser a aeth heibio, i fod yn ddigonol yn yr amser dyfodol, am fod y diafol yn newid ei ddull a'i fyddinoedd er ymosod ar fyddinoedd yr Iesu addfwyn; ond er hyny, gwel yr offeiriadaeth ddwyfol ei holl drefniadau ef mewn pryd. Am hyny, bydded i'r holl Saint fod yn barod ar y tarawiad, gan ddysgwyl gorchymyn eu llywyddion, a'r llywyddion eu llywyddion hwythau—pob un yn ei le ei hun.

Yn awr, yr wyf yn terfynu, gan gyflwyno fy niolchgarwch mwyaf am yr holl garedigrwydd a gefais yn mhob dull gan fy mrodyr a'm chwiorydd anwyl. Gweddiwch lawer etto droswyf fi a'r ymfudwyr, fel y gallom oll gydgyfarfod mewn llawenydd ar fynydd Seion, wedi maeddu ein holl elynion. Bellach, canaf yn iach i'r holl Saint; a'r Arglwydd grasol a'ch bendithio ac a'ch cadwo chwi a minnau yn ei deyrnas, yw gwir ddymuniad

Eich brawd yn y cyfammod newydd,

ABEL EVANS.

---

## A YDYW TYWALLTIAD YR YSBRYD YN GALW AM FWY O ARIAN?

DICHON fod y gofyniad hwn yn hynod yn ngolwg rhai, ond nid felly yn ngolwg pawb. Darfu i ni ei ofyn, o herwydd i ni ddarllen yn y "Family Herald" am Ion. 5, 1850, y dernyn canlynol:—

"Ymddengys mai arian yw enaid y byd; mae hyd y nod yr Efengyl yn cael ei chyhoeddi i'r paganiaid trwy allu arianol; ac er i Sylfaenydd mawr yr Eglwys awdurdodi ei apostolion cyntaf i fyned allan 'heb arian ac heb bwrs i'w cadw,' y mae areithwyr Neuadd Exeter, y rhai sydd yn ystyried eu hunain yn olynwyr cyfreithlawn a gogoneddus y cenadon cyntefig, yn methu symud cam heb y peth halogedig hwnw ag y gorchymynwyd i'r cenadon cyntefig i ymgadw rhagddo. Cymmerodd dadl neillduol le yn ddiweddar rhwng dau dduwinydd Ysgotaidd, Drd. Candish a Begg, ynghylch pwnc yr arian. Rhoddwn hi yn ngeiriau newyddiadur yn Edinburgh, a elwir 'Witness'. Y mae yn rywbeth ardderchog. 'Dywedai Dr. Begg, mewn cyfeiriad at y posibl-

rwydd a grybwyllodd Dr. Candish, o dywalltiad anarferol o Ysbryd Duw, am yr hyn y credai efe y byddai yn sicr o achosi dyled,—ei fod ef (Dr. Begg) yn dyfod i benderfyniad gwahanol iawn, gan ei fod o'r farn y dylasent gael gorphwysdra, neu lonyddwch, fel y geilw masgnachwyr hyny, er parotôi gogyfer â'r fath achosion o eisieu sydyn.' Yr oedd y ddau yn awchlym am yr arian; ond yr oedd un yn dadleu nad oedd yr arian yn dda ond yn unig i ddenu Ysbryd Duw i'r symudiad; ac yna y gallent leihau y baich arianol, o herwydd y gallent wneyd efo llai o arian, neu heb ddim, gyda'r Ysbryd: meddyliai y llall na ddylai fod un math o orphwysiad, rhag i'r Ysbryd, trwy weled y trysorfeydd yn lleihau, dynu yn ol ei râs mewn gradd gyferbyniol."

Gallem feddwl, wedi darllen y sylwadau synwyrol uchod, nas gall yr enwadau crefyddol ddysgwyl llwyddiant mawr yn y gwledydd tramor, oddieithr cael llwyddiant mawr cartrefol i gasglu arian ato yn flaenorol. Nad pa faint o dywalltiadau yr Ysbryd a dderbyniant, ni chânt byth ddigon er danfon gymmaint ag un cenadwr ymaith heb bwrsaid da o arian, nac heb lawer o ddillad a phob peth arall, fel na byddo un achos iddo ymddiried dim yn Nuw ond yn unig ei gadw rhag boddi ar y môr. Yn mha beth y mae Duw yn ateb gweddiau taerion Cristionogion y wlad hon ar ran y paganiaid? Nid yw yr Ysbryd a siaradant yn ei gylch, yn helpu dim; yr arian yw yr holl nerth. Pan balla yr arian, mae y cenadon yn dychwelyd, oblegid ni wna yr Ysbryd agor calon neb i'w cynnorthwyo. Y mwyrif o'r credinwyr tramor yw y plant (neu eu rhieni) a ddysgir ag arian y wlad hon. Nid oes yno nemawr waith unrhyw ysbryd, ond yr ysbryd ariangar. Meddyliwn pe buasai crefyddwyr y wlad hon yn treulio amser eu cyfarfodydd gweddio cenadol, at ennill a chrynhoi fwy o arian i'r cenadon, y buasai eu hefengylau yn llawer mwy llwyddiannus nag yn y maent yn awr, ac y buasai mwy o'r peth a alwant yn dywalltiad yn cael ei roddi. Yn wir, yr unig dywalltiad sylweddol ac effeithiol, yw y tywalltiad arianol i'r dysglau; dyna sydd yn argyhoeddi y paganiaid, ac fe ŵyr y cenadon hyny yn dda. Pa ysbryd, ond yr un arianol a sylweddol, a gynhyrfa neb o feibion Cymru i adael eu gwlad, a myned i blith paganiaid i bregethu? Dyweder wrth rai o honynt sy'n dymuno myned yn genadon, y rhoddir digon o arian iddynt i'w cludo i ben eu taith, a'u cynnal am flwyddyn gyfan; ac wedi hyny fod yn rhaid iddynt ymddibynu o hyd ar drugaredd Duw. Ai tybied yr elent? Na, gwyddant fwy am nerth arian, nag am

nerth eu Creawdwr. Mynant hwy sicrwydd am fywioliaeth yn gyntaf, a mawr dda iddynt; os mai dynion sydd yn eu danfon, dynion hefyd ddylai eu cynnal, a gofalu am danynt. Yr oedd Iesu Grist yn danfon ei genadon heb bwrs nac ysgrepan, ac etto ni fu eisieu arian na dim arall arnynt; canys yr oedd Duw yn agor calonau i'w diwallu o bob peth. Ni cheir neb yn gwneyd felly yn awr, ond yn unig y Saint. Mae tywalltiad yr Ysbryd sectyddol yn beth na theimlwyd, na chlywwyd, ac na welwyd erioed gan enwadau ein gwlad; ac o ganlyniad, ni anturiant ddim i'w ofal, heb fod digon o arian wedi eu darparu gyferbyn â phob diffyg. Os yw Ysbryd yr enwadau yn gwneuthur rhywbeth heb gynnorthwy arian, trwy y Cholera yn unig y gwna hyny; canys heb y naill beth neu'r llall, nis gall wneuthur dim, oblegid tystir nad yw yn un math o sylwedd, ac felly dim ydyw; a gŵyr pawb nas gall dim wneuthur dim.

Gobeithiwn y chwilia ein cyd-genedl am yr Ysbryd sylweddol hwnw sydd mewn addewid, yr hwn "pa bethau bynag a glywo, a lefara efe; a'r pethau sydd i ddyfod, a fynega efe i chwi"—yr hwn a roddir i "bawb yn mhell," cynnifer ag a ufyddhao i alwad Duw: yna gwna yr Ysbryd hwnw gyd-weithio â hwynt, a chyda yr holl genadon a ddanfonir gan Dduw. Arweinia yr Ysbryd hwnw y cenadon i bregethu yn debyg i'r cenadon gynt, "heb arian, ac heb werth," sef heb y gyflog, a'r sicrwydd am gymhorth arianol.

---

## YR ATHRAW A'R DOCTOR.

'Roedd Athraw parchedig a Doctor,
  Ers 'chydig mewn cynghor yn cwrdd,
A'r Seintiau Diweddâf a'u mater,
  Fel arfer, ddaeth gyntaf i'r bwrdd.
Wrth 'r Athraw dywedodd y Doctor,
  "Mae galar a blinder i'm bron."
"Wel, Ddoctor, pa beth ydyw'r mater?"
  Medd yntau yn llawen a llon.

*D.* "'Rwyf wedi cyhoeddi cyn heddyw,
  Mai marw wnai crefydd Joe Smith;
Ond gelwir fi 'nawr yn gau-brophwyd,
  A'm llwyddiant a luddiwyd am byth."

*A.* "Gwnes innau ddifenwi y Seintiau,
  A gwyr yr athrofa 'run modd,
A Pheirch. yr ardaloedd a'u deiliaid,
  Trwy 'u galw'n Sataniaid a'r g'oedd."

*D.* "Fe ddylem ystyried ein 'stori,
Cyn myn'd i'w chyhoeddi i'r byd;
Mae'n eglur fod crefydd y Seintiau
Yn ol y 'sgrythyrau i gyd.
Perswadiant y bobloedd i gredu
Yn Iesu, ac edifarhau,
Ac yna cydgladdant yr ufydd
Mewn bedydd, er maddeu pob bai.
'Nol hyny arddodant eu dwylaw,
Gan addaw yr Ysbryd a'i ddawn
I'r cyfryw, yn ol ei onestrwydd,
Os ceidw'i ddyledswydd yn iawn.
Addawant y doniau ysbrydol
I bawb yn bersonol yn awr,
A ninnau nis gallwn wrth-brofi,
Heb dori addewid Duw mawr.
Os na chawn rhyw gynllun fo'n gallach,
Ac harddach, nag erlid y Saint,
Fe gollwn y cyfan o'n deiliaid,
A'n dolur fydd fwy-fwy ei faint."

*A.* "'Rwyf finnau yn gweled ein gwaeledd,
Heb feddu gwir sylwedd na sail;
A chan nad oes genym arwyddion,
'Does mwyach un moddion a saif.
Diddymant ddoethineb ein doethion,
Trwy ddweyd fod arwyddion i'w cael;
Ac nid yw'n hathrofa na'i threfn,
Ond dyfais ffol egwan a gwael."

*D.* "Os ewch at y Seintiau, wych Athraw,
Cewch weithio â'ch dwylaw fel Paul,
A derbyn awdurdod ac urddas
Gan rai a ystyrir yn 'ffol.'
Gwell genyf fi gynnyg diwygiad,
Yn mhlith ein holl ddeiliaid trwy'r lle."

*A.* "'Rwyf finnau yn eilio—mae'n henwau
Yn well nâ holl ddoniau y ne'!"

*Llantrisant.* R. ROBERTS.

---

## GOFYNIADAU AC ATEBION.

1. A OES anghen cadw y llygaid yn agored wrth ofyn bendith Duw ar ein bwyd, fel ag y byddo i ni wylio ar yr un pryd?—*Gwr o'r Fro.*

Nac oes; y mae yn fwy gweddaidd yn mhob gweddiwr i gadw ei olygon yn nghau pan fyddo yn gweddio; ond nid oes eisieu i'r sawl sydd yn gwrandaw wneyd hyny, os gall ymgadw rhag

syllu oddiamgylch. Y mae gweddio a gwylio yn ddau beth gwahanol; ac nid oes raid cyflawni y ddau ar yr un amser; oblegid y mae amser i bob peth. Pa eisieu gwylio sydd wrth ofyn bendith? Ai tybied y cymmera rhywun y ddysglaid bwyd o'n blaen, tra y byddom yn cau ein llygaid? Pe byddai hyny yn beth arferol, onid oes genym ddwylaw i gadw gafael yn ein dysglaid, heb achos agor ein llygaid? Pan fyddo dyn yn cau ei lygaid wrth weddio, nid oes dim gweledig i dynu ei feddwl oddiar Dduw; ond tra byddo yn eu hagor, y mae perygl iddo gael ei demtio gan lawer peth. Y mae ychydig iawn o eiriau yn ddigon wrth ofyn bendith: ni ddylem fendithio pawb pan yn bendithio bwyd, canys y mae cyfleusderau ereill at hyny.

2. Beth yw y geiriau a ddefnyddir wrth fedyddio gan offeiriaid ac henuriaid y Saint?—*Hogyn.*

Gweinyddir bedydd yn y dull canlynol:—Ar ol i'r gweinyddwr fyned â'r bedyddiedig i lawr i'r dwfr, ac ymaflyd yn briodol ynddo, adrodda y geiriau hyn—" John [neu beth bynag fyddo yr enw], wedi cael fy awdurdodi oddiwrth Iesu Grist, yr wyf yn eich bedyddio chwi yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân. Amen." Ni ddylid defnyddio un dull arall.

3. Pa beth yw y rheswm goreu allaf roddi i'r byd o defnyddiad dwfr yn y sacrament?—*Henuriad.*

Mae llawer o'n swyddogion, trwy eu hanwybodaeth, wedi bod yn cyhoeddi llawer o bethau disail mewn perthynas i ddefnyddiad dwfr yn lle gwin. Dysgir ni i ddweyd mai gwin a ddylid arferyd, lle gellir ei gael; ond nid gwin meddwol, eithr un newydd o ffrwyth y winwydden. Caniatâu y mae Duw i ni arfer dwfr dros yr amser presennol, o herwydd ein hamgylchiadau. Y modd y gwyddom fod Duw yn caniatâu, yw, o herwydd ein bod yn derbyn o'i Ysbryd ar ol cyfranogi o'r dwfr. Gall Duw ganiatâu yr hyn a feddylio yn oreu.

4. A oes sôn yn y Testament Newydd am batriarchiaid, archoffeiriaid, ac offeiriaid, yn yr eglwys gynt, fel y sydd yn bresennol gyda'r Saint?—*Cyfaill.*

Nid oes sôn am danynt, efallai, wrth yr enwau yna, ond y mae wrth enwau ereill. Dysgwyd ni mai efengylwyr oedd y patriarchiaid, ac mai archoffeiriaid oedd y rhai a feddent y lywyddiaeth nesaf at yr apostolion. Eglur yw mai un o'r offeiriaid oedd Phillip, o herwydd nid oedd ei awdurdod gymmaint ag henuriad

fel y gellir deall oddiwrth ei hanes yn Samaria. Yr oedd yr apostolion gynt, ynghyd ag ereill, fel y rhai presennol, yn myned yn amlach wrth yr enw henuriaid, nag wrth enwau eu swyddi. Felly y bu gyda Chapt. Jones; ychydig iawn yn Nghymru a wyddent ei fod ef yn archoffeiriad, gyda bod yn henuriad. Cawn fanylu ar bethau fel hyn ryw amser arall.

---

## CYNNRYCHIOLIAD Y SAINT YN MHRYDAIN FAWR, NADOLIG 1849.

Wele ni yn gosod o flaen ein darllenwyr gyfrif yr holl Saint yn Mhrydain Fawr, fel y rhoddwyd eu cynnrychioliad i mewn gan lywyddion y gwahanol gynnadleddau, erbyn Nadolig 1849:—

| *Cynnadleddau.* | *Llywyddion.* | *Cang.* | *A.* | *Hen.* | *Off.* | *Ath.* | *Dia.* | *Oll.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Edinburgh | William Gibson | 23 | 1 | 44 | 52 | 66 | 22 | 1301 |
| Macclesfield | J. Clements | 5 | 0 | 23 | 15 | 8 | 6 | 330 |
| Isle of Man | Loren Rabbit | 3 | 0 | 10 | 6 | 5 | 4 | 90 |
| Staffordshire | J. D. Ross | 12 | 0 | 38 | 33 | 14 | 12 | 347 |
| Derbyshire | Lewis Robbins | 11 | 0 | 41 | 25 | 20 | 10 | 424 |
| Worcestershire | John Lyon | 10 | 0 | 20 | 24 | 7 | 9 | 305 |
| Bedfordshire | J. H. Flanigan | 15 | 0 | 43 | 42 | 16 | 12 | 518 |
| Cheltenham | J. W. Cummings | 19 | 0 | 42 | 34 | 25 | 19 | 606 |
| Leicester | Lewis Robbins | 4 | 0 | 14 | 15 | 5 | 6 | 224 |
| Herefordshire | C H Wheelock | 19 | 0 | 29 | 29 | 21 | 12 | 498 |
| Norwich | Thomas Smith | 10 | 0 | 32 | 32 | 18 | 10 | 457 |
| Liverpool | Milo Andrus | 12 | 0 | 55 | 65 | 27 | 21 | 1049 |
| Newcastle-on-Tyne | William Speakman | 15 | 0 | 43 | 39 | 16 | 13 | 569 |
| Glasgow | Harrison Burgess | 25 | 0 | 84 | 67 | 91 | 37 | 1743 |
| Lincolnshire | William L. Cutler | 10 | 0 | 18 | 25 | 17 | 4 | 359 |
| Clitheroe | William Moss | 10 | 1 | 22 | 34 | 19 | 7 | 357 |
| Cymru (12 Cynnadl.) | William Phillips | 100 | 2 | 426 | 239 | 221 | 119 | 4645 |
| Bradford | James Marsden | 15 | 0 | 36 | 66 | 21 | 10 | 770 |
| Galloway Union | John Kelly | 1 | 0 | 3 | 1 | 0 | 0 | 18 |
| Hull | James M'Naughton | 5 | 0 | 21 | 17 | 11 | 6 | 345 |
| Llundain | John Banks | 40 | 1 | 88 | 113 | 64 | 41 | 2637 |
| Sheffield | C. Dunn | 26 | 0 | 53 | 99 | 64 | 34 | 1789 |
| Warwickshire | Alfred Cordon | 14 | 1 | 47 | 54 | 24 | 15 | 775 |
| Birmingham | Jeter Clinton | 20 | 0 | 81 | 88 | 50 | 36 | 1640 |
| Manchester | R. Cook | 28 | 0 | 97 | 187 | 75 | 41 | 2566 |
| South Conference | John Halliday | 19 | 0 | 32 | 67 | 35 | 37 | 1150 |
| Preston | G. D. Watt | 8 | 0 | 40 | 28 | 18 | 2 | 500 |
| Cyfanswm | | 479 | 6 | 1482 | 1496 | 958 | 548 | 26012 |

Mae y cynnydd oddiar y Gynnadledd Gyffredinol yn mis Awst, 1848, wedi cyfrif y 1,900 a ymfudodd oddiar hyny, yn 10,010. Dengys hyn fod y grefydd adferedig yn llwyddo.

---

## CYNNADLEDD GYFFREDINOL NEILLDUOL.

Cafodd cynnadledd gyffredinol neillduol ei chynnal yn Liverpool ar y 5med o'r mis presennol, lle yr oedd yn wyddfodol yr

Apostol Orson Pratt, yr Archoffeiriaid Dr. L. Richards a John Banks, a'r Henuriaid C. H. Wheelock, Harrison Burgess, Jeter Clinton, James W. Cummings, William L. Cutler, Milo Andrus, John Halliday, James H. Flanigan, Richard Cook, James Marsden, Lewis Robbins, Thomas Margetts, Glaud Rodger, James D. Ross, George Halliday. Yn mhlith y gwahanol bethau a benderfynwyd yno, y mae yr hyn a ganlyn yn dal perthynas neillduol â'r Saint Cymreig:—

"Cynnygiwyd gan Levi Richards, fod Cynnadledd Sir Henffordd i gynnwys cynnadledd bresennol y Casnewydd, ynghyd â'r cangenau ar gyffiniau Sir Faesyfed, gerllaw Sir Henffordd. Cariwyd yn unfrydol.

"Cynnygiwyd gan James W. Cummings, fod Levi Richards i gael ei benodi i benderfynu pa gangenau yn siroedd Mynwy a Maesyfed fydd i'w cyssylltu â Chynnadledd Sir Henffordd, a pha rai i'w gadael i'r lywyddiaeth Gymreig. Cariwyd yn unfrydol.

"Cynnygiwyd gan John Banks, fod Levi Richards i gael ei apwyntio yn gynnrychiolydd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn Nhywysogaeth Cymru, yn ddarostyngedig i gynghor yr Henuriad Pratt, gydag awdurdod i ddysgu a chynghori llywyddiaeth yr eglwys gyfeiriedig yn Nghymru, a lle bynag y byddo yn teithio, yn unol â'r awdurdod a'r cyfarwyddiadau a roddwyd iddo yn flaenorol gan brif lywyddiaeth yr Eglwys. Cariwyd yn unfrydol.

"Cynnygiwyd gan Harrison Burgess, fod holl lywyddion y Cynnadleddau, i ddanfon i'r Henuriad Pratt, ddwywaith yn y flwyddyn, gynnrychioliad cywir o rifedi y swyddogion a'r aelodau o dan eu gwahanol lywyddiaethau; a'r cyfan i fod yn Liverpool bedwar dydd ar ddeg cyn y laf o Ionawr, a'r laf o Orphenaf. Y llywyddion i gynnal eu cymmanfaoedd chwarterol fel arferol, neu fel y meddyliont oreu. Cariwyd yn unfrydol."

Dyna yw yr oll sydd yn dal cyssylltiad â Chymru; a chredwn y bydd yn dra bendithiol.

Gyda golwg ar genadiaeth y brawd Levi Richards, sylwa Orson Pratt, yn ei *Star* am Ionawr 15, fel y canlyn:—

"Fe welir trwy edrych ar gofnodion ein Cynnadledd Gyffredinol Neillduol, a gynnaliwyd yn Liverpool ar y 5med o'r mis hwn, fod yr Henuriad Levi Richards wedi ei apwyntio i fyned i Gymru, a rhoddi cynghor a dysgeidiaeth i lywyddiaeth y cynnadleddau Cymreig, a phawb ereill y dygwydde fod yn eu plith. Mae gwraig yr Henuriad Richards ganddo yn y wlad hon, a dymunir yn neillduol ar y cynnadleddau Cymreig i gyfranu o'u heiddo tuag at gynnaliaeth y Brawd Richards a'i deulu. Bydded i Dduw fendithio ei lafur yn helaeth yn y Dywysogaeth hono, a nerthu a chadarnhau pob Saint ffyddlawn.

"Galwyd y gynnadledd neillduol hon ynghyd, heb braidd un diwrnod o rybydd; yr oedd yr henuriaid fu yn bresennol yn dygwydd bod yn Liverpool ar yr amser er canu yn iach i'r Saint a hwylient gyda'r Argo."

Gobeithiwn y gwna yr holl gynnadleddau wrandaw ar y Llywydd Pratt, a pharotôi gogyfer â derbyn a groesawu ein brawd Dr. Levi Richards.

---

## DARGANFYDDIAD HYNOD YN CALIFORNIA.

MAE a ganlyn yn ddyfyniad o lythyr a ysgrifenwyd gan ddyn o Gaerefrog Newydd at ei wraig, yr hwn sydd yn awr yn gweithio yn mwngloddiau California. Mae y llythyr wedi ei ddyddio Awst 26, 1849.

"Darganfyddwyd mwnglawdd aur yn y lle hwn (yr hwn a elwir Murphy's Diggings) wythnos i heddyw; mae yn amlwg ei fod yn gloddfa hen iawn—210 troedfedd o ddyfnder, ac yn sefyll ar gopa mynydd uchel. Y mae wedi creu cryn syndod yma, gan y buwyd rai dyddiau cyn y gallwyd gwneyd parotoiadau i fyned lawr iddo. Cafwyd ynddo esgyrn corff dynol, ac hefyd allor at addoli, a rhyw bethau ereill oedd yn dwyn nodau gwaith dynol. Oddiwrth yr olwg bresennol ar bethau, y mae yn ammheus pa un a dâl i'w weithio neu peidio, gan mai craig yw y cyfan yno, yr hyn a ofyn lawer o offerynau a pheiriannau i'w weithio."

Bydd y darganfyddiad hwn, os edrychir mewn iddo gan ddynion deallgar, yn debyg o fod o bwys mawr mewn hanesyddiaeth. Cadarnha hyn y ffaith o fod cyfoeth euraidd y wlad hon yn adnabyddus i genedlaethau blaenorol; a gall y gweddillion sydd wedi eu cael, ein goleuo mewn perthynas i hanesyddiaeth y bobl a ddarfu drywanu y mynydd hwn gyntaf ddau cant a deg o droedfeddi; ac yn ddiammau hefyd i beri ymchwiliad i'r achos o adael gwlad lle yr oedd cymmaint o aur yn bodoli, a lle cafodd ei ddarganfyddwyr yr annogaeth i weithio y fath gloddfeydd helaeth mewn amseroedd cyntefig.—*N. Y. Post.*

---

## NEWYDDION O'R LLYN HALEN.

HYSBYSIR yn y "St. Louis Republican," am y 4ydd o Ragfyr, fod dyn wedi newydd cyrhaedd St. Louis, yr hwn oedd wedi ymadael a'r Llyn Halen oddeutu diwedd Medi. Cyfarfyddodd ar y ffordd â thri llwyth o'r Indiaid yn gwersyllu, er dysgwyl dyfodiad

Major Fitzpatrick, y dirprwywr Indiaidd. Ychydig yn mhellach, cyfarfyddodd â'r Major ei hun, yr hwn a hysbysodd iddo fod llawer o'r ymfudwyr am aur yn meddwl treulio y gauaf yn Ninas y Llyn Halen a Fort Bridger. Hysbysodd hefyd fod y Mormoniaid wedi cael allan ffordd i deithio mewn ugain neu ddeg ar hugain o ddyddiau yn groes i'r anialwch a Sierra Nevada, lle y mae cyflawnder o goed a dwfr yn mhob man arni, ac yn rhwydd i'w croesi. Mae cwmnïoedd o Formoniaid wedi teithio yr holl bellder o'r Sacramento i'r Llyn Halen, gyda chamelod llwythog, mewn pymtheg diwrnod. Yr oedd y Mormoniaid wedi cael cnydiau rhagorol o wenith a llafuriau ereill, cloron, erfin, &c., mwy na allent dreulio; ond y mae'r ymfudwyr sydd yn dyfod yno yn barhaus yn prynu y gweddill am brisiau uchel. Yr oedd digonedd o arian yn y lle; ac at hyn y gellir ychwanegu y ffaith o fod y Mormoniaid wedi sefydlu bathdŷ eu hunain, yn mha un y mae cyflawnder mawr o lwch aur California wedi ei fathu yn ddarnau o wahanol werth, a rhai mor fawr ag 20 dolar.

---

## GORYMDAITH Y SAINT O FERTHYR I DDOWLAIS.

Os bu gorymdaith gan y Saint yn Ninas y Llyn Halen, ymddengys fod y Saint Cymreig wedi mynu gorymdaith hefyd yn eu "dinas" hwythau yma, yr hon nid yw, er hyny, yn ddinas barhaus, ond yn ddinas i wneyd fawr o honi nes cyrhaedd ei gwell. Yn gymmaint ag i gangen Dowlais gyhoeddi fod gwyl dê i gael ei chynnal ganddynt yn eu neuadd, ar ddydd nodedig Nadolig, penderfynodd amryw o Saint Merthyr a Georgetown, ac ereill o'r cylchoedd, i dalu ymweliad gorymdeithiol â'u brodyr yn Nowlais, a chyd-eistedd wrth yr un bwrdd tê, i loni eu gilydd. Am ddau o'r gloch, yr oedd cannoedd o Saint wedi ymgynnull, yn dra thrwsiadus, yn y Georgetown, lle y gorchymynwyd iddynt i gerdded bob yn bedwar, yr henuriaid i flaenori, a chôr Cymraeg a Seisnig i ddifyru teulu'r gân. Cychwynasant yn drefnus a chariadus, ac ni welodd y cannoedd edrychwyr y fath *odd fellows* erioed o'r blaen. Yr orymdaith debycaf iddi oedd hono yn Ninas y Llyn Halen; canys ni welwyd plant yr un Tad yn gorymdeithio erioed yma o'r blaen. Synai y bobl weled oddeutu wyth cant neu ragor o Saint yn myned gyda'u gilydd i yfed tê, er cynnorthwyo cangen Dowlais. Ennillodd y cantorion glod

mawr, a pherodd y Saint ryfeddod. Ni chredasai llawer fod cymmaint â hyny o Saint yn yr holl greadigaeth, serth eu gweled. Nid oedd lle i bawb i wledda yr un pryd, o herwydd eu nifer; ond boddlonwyd pob un oedd yn caru bara melys a brau, a'r siriol gwpan tê. Wedi gwledda o dri hyd saith, ymddangosai pawb wedi'r cwbl yn awyddus am ragor; canys ni fynent ymadael â'r lle. Ac am saith, penderfynwyd clirio y byrddau, i gael newid y wledd. Wedi canu, a cheisio bendith ar yr ail wledd gan y Llywydd Phillips, cyfranwyd geiriau y bywyd tragywyddol ganddo ef a brawd arall, nes iddynt fwyta y cyfan drachefn o'r bwyd ysbrydol, a galwad mawr am ragor. Wedi i'r brawd Phillips berswadio y Saint, mai hwy oedd "halen y ddaear," deallasant fod ganddynt waith mawr i halltu ereill, gyda bwyta, a boddlonasant i fyned tua thref y pryd hwnw, ac aros heb fwyd ysbrydol hyd y gymmanfa. Dyna fel y bu ynghylch yr orymdaith a'r wyl dê; a pheth sydd gan neb i ddweyd?

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR GAERFYRDDIN.

CYMMANFA chwarterol y gynnadledd uchod a gynnaliwyd yn Nghapel y Saint, Llanelli, ar y 6fed o Ionawr. Cynnrychiolwyd 17 o gangenau, yn cynnwys 62 o henuriaid, 29 o offeiriaid, 28 o athrawon, a 17 o ddiaconiaid; 50 wedi eu bedyddio; y cyfanswm yn 580. Cafwyd cyfarfodydd da, a phawb wrth eu bodd.—Howell Williams, llywydd; Isaac Jones, ysgrifenydd.

### CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG.

Cynnaliwyd cymmanfa chwarterol y gynnadledd hon yn y Trade's Hall, Abertawy, ar y 13eg o Ionawr. Y cynnrychioliad sydd fel y canlyn:—17 o gangenau, 64 o henuriaid, 31 o offeiriaid, 30 o athrawon, a 13 o ddiaconiaid; 39 wedi eu bedyddio oddiar y gynnadledd o'r blaen (oddeutu dau fis yn ol); y cyfanswm yn 561. Cyflwynwyd cangen y Bontfaen i Gynnadledd Ddwyreiniol Morganwg. Cafwyd cymmanfa dra effeithiol, ac arwyddion gobeithiol iawn.—Thos. Pugh, llywydd, R. Stibbs, ysgrifenydd.

### SIR FYNWY,

Cynnaliwyd cymmanfa y sir hon yn Nantyglo, ar y 13eg o Ionawr. Cynnrychiolwyd 20 o gangenau, yn cynnwys 83 o hen-

uriaid, 26 o offeiriaid, 44 o athrawon, a 25 o ddiaconiaid; wedi eu bedyddio, 85; y cyfanswm yn 746. Cyflwynwyd tair o gangenau i lywyddiaeth y brawd John Jones, o sir Frycheiniog.—Thomas Giles, llywydd; David Jones, cofnodydd.

CYNNADLEDD DDWYREINIOL MORGANWG.

Cynnaliwyd cymmanfa chwarterol y gynnadledd hon yn Neuadd y Cymreigyddion, yn Merthyr-Tydfil, ar y 6fed o Ionawr. Cafwyd fod cynnrychioliad y gynnadledd fel y canlyn:—22 o gangenau, yn cynnwys 130 o henuriaid, 90 o offeiriaid, 104 o athrawon, a 47 o ddiaconiaid; bedyddiwyd er y gymmanfa o'r blaen, 145; y cyfanswm yn 2108. Ordeiniwyd un i'r swydd bwysig o archoffeiriad, am y tro cyntaf yn Nghymru, o dan ddwylaw y Llywydd Phillips, Abel Evans, a William Howells. Derbyniwyd dysgeidiaeth ragorol o eneuau y Llywydd, A. Evans, Wm. Howells, ac ereill, nes peri i bawb lawenhau. O herwydd lliosogrwydd y gwrandawwyr, cynnaliwyd cyfarfodydd yn y Georgetown hefyd i'r Saeson; er hyny yr oedd y ddwy neuadd yn rhy fychain i gynnwys cymmaint o filoedd.—Wm. Phillips, llywydd; John Davis, ysgrifenydd.

---

☞ Dymunwn hysbysu i holl lywyddion y cynnadleddau a'r cangenau, y dysgwylir iddynt o hyn allan i roddi cyfrif hefyd o'r holl aelodau sydd yn cael eu tori allan, yn marw, yn cael eu derbyn trwy lythyr, yn cael eu gollwng trwy lythyr, ynghyd â'r nifer sydd yn ymfudo, heblaw y cyfrif arferol. Cadwer cyfrif felly o Nadolig diweddaf yn mlaen.

---

## AMRYWIAETHAU.

IONAWR.—Yn ein hinsawdd ni, Ionawr yw y mis oeraf o'r flwyddyn, yn ol cyfartalrwydd; o herwydd mewn rhai blynyddau mae misoedd Chwefror a Mawrth yn oerach. Mae yr ystôr o wres a gafwyd yn yr haf wedi ei dihysbyddu yn hollol yn awr, ac nid yw yr haul etto wedi cyrhaedd digon o allu i'w roddi yn ol. Cyfartaledd cyffredin yr hin-fesurydd yn mharthau canol ynys Prydain Fawr, yn y mis hwn, yw 37 o raddau. Mae tyfiant llysiau mewn cyflwr o farweidd-dra yn Ionawr. Meddyliai yr henafiaid fod anghen i'r mis hwn fod yn erwinach nag un mis

arall, o herwydd gweddill y flwyddyn. Ond mae y dull hwn o farnu, yn groes i brofiad diweddarach; o herwydd y mae gauaf mwynaidd yn cael ei ddilyn yn aml gan haf gwresog. Mae rhai blodau, megys y crocus, mezereon, a'r polyanthus, i'w gweled yn blodeuo tua diwedd Ionawr; a thua yr un amser (yn Lloegr) y mae brychod y cae, y fronfraith, a'r dryw bach, yn dechreu canu tipyn.

RHEOLAU YMDDYGIAD.—Gochelwch rhag y pethau canlynol:—Siarad ffraeth a thrwsgl; cadw mwstwr wrth fwyta neu yfed; eistedd yn lledchwith ar gadair; taflu rhywbeth o'ch llaw yn ddiystyrllyd; derbyn rhywbeth heb roddi diolch i'r rhoddwr; galw John neu Sam. ar eich gwell, yn lle ei enw olaf; galw "ti" ar y naill y llall wrth ymddyddan o flaen dyeithriaid ac mewn cwmpeini; sefyll ar y ffordd, pan na fyddo lle i basio; rhoddi eich barn, pan na fyddo neb yn ei hymofyn; ateb cwestiwn yn lle arall, heb neb yn ceisio; gadael adnabyddiaeth ar yr heol, neu mewn cwmni, heb ffarwelo ag ef; rhwystro rhywun pan yn ymddyddan ag arall; adrodd ystoriau neu ddadleuon meithion ac anmhleserus; sylwi ar wisgoedd y rhai fyddo o'ch amgylch; gwrthwynebu rhywun ar unwaith, yn lle dweyd, "Gwell genyf fi feddwl fel arall," neu, "Yr wyf fi yn ofni eich bod yn camsynied;" defnyddio geiriau isel a gwael; helpu eich hunan wrth brydiau bwyd cyn helpu ereill; carthu eich dannedd â'ch fforch neu'ch bysedd; crafu eich pen; dweyd pris yr ymborth neu'r diodydd a fyddwch yn roddi i ymwelwyr; gwrthod ateb llythyron. Gallem enwi llawer o bethau yn rhagor, ond gwell dysgu yr uchod yn gyntaf.

JERUSALEM.—Dywedir fod yr Iuddewon, trwy gyfryngwriaeth Syr Moses Montefiore, wedi cael cenad gan y Llywodraeth Dyrcaidd i adeiladu teml ar fynydd Seion, yn Jerusalem, yr hon a fwriadant wneuthur mor ogoneddus â theml Solomon. Mae £250,000 wedi cael eu casglu yn America yn unig at y dyben hwn.

LLYSIAU AT SYCHU.—Yr amser goreu i gasglu llysiau a fwriedir sychu at wasanaeth teuluoedd yn y gauaf, yw pan fyddo eu blodau yn dechreu agor. Maent yn cynnwys bryd hyny mwy o'r nodd sydd mor anghenrheidiol, nag un amser arall.

GLO.—Yn y flwyddyn 1705, yr oedd oddeutu 600 o longau yn ddigon i ddiwallu Llundain â glo; yn 1805, yr oedd eisieu

4,856 o lwythi, yn cynnwys oddeutu 1,350,000 o dunelli; tra yn y flwyddyn 1848, gwnaeth 2,717 o longau 12,267 o fordeithiau, a chariasant 3,418,340 o dunelli.

PURO DWFR.—Y ffordd i buro dwfr ydyw taflu ychydig o alwm iddo. Gwna llonaid llwy dê buro pedair galwyn o ddwfr, a gyru yr holl anmhuredd i'r gwaelod.

"BOH."—Mae y gair "Boh" a ddefnyddir i ddychrynu plant, wedi cael ei ddechreuad oddiwrth gadfridog barbaraidd o'r enw hwnw, sef mab Odin, yr hwn oedd yn achos o ddychryn i'w holl elynion.

ROBERTS O RYMNI A'I "HOME STROKE."—Mae yn gofus gan ein darllenwyr am yr "home stroke" a roddodd y Parchedig uchod i'r Mormoniaid ychydig amser yn ol, pan yr ymddangosai yn fwy nâ choncwerwr yn mhwlpudau ein gwlad. Ni arosodd ei ergyd gyda'r Mormoniaid, ond dychwelodd yn ei hol yn nerthol at y cawr ei hun, a tharawodd ef o Rymni i'r Gogledd, ac o'r Gogledd i Liverpool, lle y mae yn awr am ei fywyd yn *hawkio* tê, wedi cael ei ysgymuno oddiwrth y Bedyddwyr am droseddau na ewyllysiem ni ei coffa.

YR EFENGYL.

ATOM daeth efengyl Crist;
Peraidd yw ei sain i'r glust;
Dwyn llawenydd mae i'r trist;
Clywch, clywch, bob rhai.

Newydd hyfryd yw i'n gwlad;
Cafwyd ffordd i gael glanhâd,
Trwy rinweddau Crist a'i waed;
Clywch, clywch, bob rhai.

Bedydd er maddeuant sydd;
Mwyach na foed neb yn brudd;
Ffordd a gawd i ddod yn rhydd;
Clywch, clywch, bob rhai.

Dawn yr Ysbryd rodda Duw;
Nerth a rydd i dduwiol fyw,
Ac i gyrhaedd Seion wiw;
Clywch, clywch, bob rhai.

Pa'm yr oedwch, ddynion, ddod?
Y mae galwad daer yn bod;
Cewch y trysor goreu erioed;
Clywch, clywch, bob rhai.

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. **14.**

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. II.] CHWEFROR, 1850. [PRIS $2\frac{1}{2}$g.

## CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1850.

## TALIADAU AM Y CHWARTER YN TERFYNU YN MIS RHAGFYR, 1849.

Mae a ganlyn yn dangos pa faint a dalwyd o fewn y mis hwn o arian y gwahanol lyfrau, am y tri mis uchod, a'r swmian sydd yn aros heb dalu, ynghyd â nifer y Saint yn mhob Cangen a Chynnadledd, gyferbyn â nifer yr Udgorn a dderbyniant.

| Saint. | Udgorn. | Dosparthwyr. | Talwyd. | | | Heb dalu. | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 65 | 40 | William Evans, Rymni | 0 | 15 | 8 | 0 | 11 | 4 |
| 165 | 100 | Joseph Davies, Aberdar | 0 | 15 | 0 | 1 | 5 | 0 |
| 184 | 100 | James Ellis, Caerdyf . . | 4 | 10 | 0 | 2 | 17 | 2 |
| | | *Cynnadleddau.* | | | | | | |
| 746 | 300 | T. Giles, Cyn. Mynwy | 3 | 0 | 2 | 0 | 0 | 0 |
| 60 | 45 | A. Clarke, Aberteifi . . | 0 | 0 | 0 | 1 | 12 | 3 |
| 341 | 240 | Gogledd . . . . . . . . . . . . | 4 | 0 | 0 | 7 | 17 | 7 |

---

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

"Omega"—Swllt yw pris Darlun Orson Pratt, ac y mae ar werth yn ein swyddfa.

"J. D."—Cyfarwyddyd llywydd y Saint Cymreig yn y Bluffs yw a ganlyn :—"Mr. William Morgan, Kanesville, Pottowatamie County, Iowa, North America." Swllt yw'r doll, pa un a ragdelir ai peidio.

*** Cofied y ffermwyr am barotôi mewn pryd erbyn yr Ymfudiad nesaf, yr hwn a fydd yn mis Hydref. Bydd cwmni, efallai, yn myned hefyd tua Ionawr.

CYMMANFAOEDD.—Gwell i'r Llywyddion benodi amser eu Cymmanfaoedd eu hunain y chwarter nesaf, a rhoddi gwybodaeth i ni.

☞ Cynnelir Cwrdd Blynyddol, yn Llanelli, sir Gaerfyrddin, ar y 10fed o Fawrth nesaf, lle y gwneir casgliad at dalu dyled y capel sydd yno.

CYFARWYDDIADAU.—Mae pob llythyron at Lywyddion y Cynnadleddau i'w danfon fel y canlyn :—Sir Fynwy—Mr. Thomas Giles, care of Mr. Moses Dudley, near the King William, Garnfach, Nantyglo. Cynnadledd Orllewinol Morganwg—Mr. Thomas Pugh, care of Mr. John Harries, Sawyer, Green Court, Neath. Sir Gaerfyrddin—Mr. H. Williams, care of Mr. Isaac Jones, Weaver, Quay-street, Carmarthen. Sir Benfro—Mr. John Morris, Confectioner, Market street, Pembroke Dock.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, a llythyron i'r Prif Gynghor, at "*John Davis, Printer, Nantygwenith, Georgetown, Merthyr-Tydfil*," a dymunwn stamp gan bob un sy'n ymofyn ateb.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 14.] CHWEFROR, 1850. [CYF. II.

## DYLEDSWYDD SWYDDOGION Y SAINT.

CYMMERWN y cyfleusdra presennol i roddi rhai cyfarwyddiadau cyffredinol i'r Henuriaid, Offeiriaid, Athrawon, a'r Diaconiaid, yn nyledswyddau eu gwahanol swyddi. Yn gyntaf—Edryched pob Henuriad llywyddol fod pob swyddog dan ei ofal yn gwerthfawrogi ei swydd, mor bell ag y mae amgylchiadau yn caniatâu. Na rodder lle i ddiogi, "canys y diog a ddygir mewn coffadwriaeth gerbron yr Arglwydd." A dymunem sylwi wrth lywyddion y cynnadleddau, am y priodoldeb o ranu y dinasoedd, y trefydd, a'r wlad yn nghymmydogaeth y gwahanol gangenau i ddosparthiadau, a gosod dau Henuriad, neu Henuriad ac Offeiriad, i ofalu am danynt, a'u cyfarwyddo i agor lleoedd i bregethu yn mhob man y gallont; a lle na fyddo digon o leoedd wedi eu hagor i'r Henuriaid i bregethu, gallant weinyddu yn swydd Offeiriaid, trwy fyned o dŷ i dŷ, a dysgu y Saint. Dyledswydd yr Offeiriaid yw ymweled â'r holl Saint sydd yn eu dosparth unwaith bob mis o leiaf, ac yn amlach os gellir, a'u dysgu i beidio athrodi, siarad yn ddrwg, yfed gwirodydd poethion, na defnyddio dim sydd â thuedd ynddo i'w halogi neu eu diraddio yn y mesur lleiaf; a gwasgu ar eu meddyliau mor effeithiol ag y gellir y gorchymyn a ddywed, "Ac etto, yn gymmaint â bod gan rieni blant yn Seion, neu yn rhai o'i phreswylfeydd sydd wedi eu rheoleiddio, ag nad ydynt yn eu dysgu i ddeall athrawiaeth edifeirwch, ffydd yn Nghrist, Mab y Duw byw, ac ynghylch bedyddiadau—dawn yr Ysbryd Glân

trwy arddodiad dwylaw pan yn wyth mlwydd oed, bydd y pechod ar benau y rhieni, o herwydd fe fydd hyn yn gyfraith i breswylwyr Seion, neu unrhyw rai o'i phreswylfeydd sydd wedi eu rheoleiddio. A bydded i'w plant gael eu bedyddio er maddeuant o'u pechodau pan yn wyth mlwydd oed, a derbyn gosodiad dwylaw; a bydded iddynt hefyd ddysgu eu plant i weddio a rhodio yn uniawn o flaen yr Arglwydd. A bydded i breswylwyr Seion gofio am y dydd sabboth, i'w gadw yn santaidd. A bydded i breswylwyr Seion, hefyd, gofio am eu gwaith, yn gymmaint â'u bod wedi eu hapwyntio i weithio, mewn pob ffyddlondeb; oblegid y diogyn a ddygir mewn coffadwriaeth gerbron yr Arglwydd. Yn awr, nid wyf fi, yr Arglwydd, yn cael fy moddloni yn dda yn mhreswylwyr Seion; oblegid y mae diogwyr yn eu plith hwynt; ac y mae eu plant hefyd yn tyfu i fyny mewn drygioni; nid ydynt yn ceisio yn daer am drysorau tragywyddoldeb, ond eu llygaid sydd yn llawn trachwant. Ni ddylai y pethau hyn fod, a rhaid iddynt ddiflanu o'u plith; gan hyny, bydded i'm gwas Oliver Cowdery gario y dywediadau hyn i dir Seion. A gorchymyn wyf yn ei roddi iddynt, fod yr hwn sydd yn esgeuluso gweddio o flaen yr Arglwydd yn yr amser at hyny, i gael ei ddwyn mewn coffadwriaeth gerbron barnwr fy mhobl. Mae y dywediadau hyn yn eirwir ac yn ffyddlawn; gan hyny, na throseddwch hwynt, ac na thynwch oddi wrthynt. Wele, myfi yw Alpha ac Omega, ac yr wyf yn dyfod ar frys. Amen."

Dyledswydd yr Athrawon yw ymweled â'r holl Saint sydd yn y dosparthiadau y perthynant, o leiaf unwaith bob pythefnos, ac adrodd yr holl addysgiadau blaenorol, a rhoi iddynt bob addysgiadau ereill ag y bo amgylchiadau yr achos yn galw. Dyledswydd y Diaconiaid i'w cynnorthwyo yr athrawon pan y byddo anghen. Yn gymmaint â bod y Diaconiaid hyd yma wedi bod yn gweithredu fel trysorwyr, ac yn gweinyddu yn mhethau tymmorol y cangenau; byddai yn dda gadael iddynt wneyd felly etto, os na fydd amgylchiadau yn ei gwneyd yn ddoethach i fod fel arall, pan y gall Henuriad, Offeiriad, neu Athraw, weinyddu yn eu lle. Annogwn yr holl swyddogion i feddiannu Llyfr Mormon

a Llyfr yr Athrawiaethau a'r Cyfammodau, a phob llyfrau ereill, a gwneyd eu hunain yn adnabyddus o athrawiaethau a chyfreithiau yr eglwys; a gallwn ddweyd yn ddigyfeiliorn, nad yw un swyddog yn alluog i gyflawni ei ddyledswyddau heb y wybodaeth a gynnwysir yn y llyfrau hyn.

ORSON PRATT.

[Ond odid na fydd raid i ni gyhoeddi y llyfrau uchod ar fyrder yn Gymraeg, nad faint fydd y rhwystrau, er mwyn i'n cydgenedl gael yr hyn sydd mor anghenrheidiol.—GOL.]

---

## TYBACO ETTO.

DYWEDASOM lawer am y creadur uchod, ond nid hanner digon. Mae yn parhau i lechu hyd yn hyn o fewn cilfochau llawer o'r Saint, ac yn dyfod allan yn fwg trwy eu simneiau; porthant ef hyd y nod â chwys eu gwynebau, ac ar gost eisieu bara. Ni fu gwaeth blaidd yn y byd erioed, nac un mwy annyoddefol i gydfyw ag ef. Mae ei sawyr yn halogi yr awyr lle bynag y byddo, a mwy yw ei ddrewdod nag y gallwn ei ddyoddef mwyach, yn neillduol wrth fwyta ein bara bennyddiol. Er ei erlid yn greulawn o'r blaen, meddodd y gwyneb drachefn o ddyfod i ymyl ein bord fwyd, i arogl-darthu ei ddrewdod, ac amlygu ei anfoesoldeb. Bydd ei le yn lled chwerw o hyn allan, os coelir ni. Pa hawl sydd gan greadur felly i ddystrywio awyr dyn, a llanw pob ystafell â chymylau mwg? Annwn yw yr unig le sy'n gweddu creadur felly, a dyweded pawb Amen er iddo gael ei iawnderau yno.

Mae yn dda genym na fu sain yr UDGORN yn ofer ar hyd a lled Cymru, wrth rybyddio y Saint o'i blegid. Er cymmaint a rwystrodd llywyddion yn eu hymddygiadau, etto perswadiwyd ugeiniau i droi yn erlidwyr cynddrwg â Saul yn ei erbyn. Argyhoeddwyd hwynt trwy resymau yn unig, ac nid trwy rym dylanwad; a dylai brodyr felly gael eu hystyried yn gewri ffydd. Cywilyddiwyd y bibell a'r gno i raddau mawr, fel na hoffent drachefn ddangos eu gwynebau, os oes hefyd wynebau gan bethau mor bygddu; a darfu lluoedd gloffi rhwng dau feddwl, er cael dysgwyl ar esiampl y llywyddion—yr hyn a wnelai y rhai hyny, a wnelent hwythau. Deallasom yn fuan fod y cyfan braidd o barthed tynghed y Dybaco, yn ymddibynu ar y llywyddion,

Deallodd Prif-lywydd Cymru yr un peth; ac yn awr, mae yn dda genym i hysbysu ei fod ef wedi rhoi y dybaco heibio yn llwyr, gan roddi esiampl ragorol i'r holl Saint, yn swyddogion ac aelodau, i'w dilyn. Mae amryw o'r llywyddion eisoes wedi ei efelychu. Heb fod y swyddogion yn myned yn esiamplau, nid oes gobaith am fuddugoliaeth ar ein gelyn; ond tra fyddo y rhai sydd â dylanwad ganddynt yn ei osod mewn gweithrediad yn y ffordd y dylent, yna mae y gwaith ar ben, beth bynag fyddo. Fe wel pob llywydd, ynte, y drwg neu'r da y mae yn wneuthur wrth ddefnyddio neu adael dybaco. Ni charem fod neb yn cael ei orfodi i adael ei eilun—chwarae teg i bawb; mae gan Dduw a dyn eu hewyllysiau. Nid gorchymyn a roddwyd, ond cynghor, a hwnw yn gynghor oddiwrth Dduw. Gwnaed dyn fel y myno; os gwna dda, caiff ei fendithio—addewir cadw y dinystrydd oddiwrtho: os amgen, dysgwylied y gwrthwyneb.

Mae achos diarddeliad yr hen eilun, Dybaco, o eglwys Iesu Grist, yn ennill tir anghyffredin yn Lloegr a Chymru, yn y dyddiau hyn; a chredwn, yn mhen ychydig, y bydd mwy nâ phum cant o Saint yn myned yn flynyddol i Seion, yn lle pris cludiad y cyfryw yn myned yn flynyddol i'r nefoedd mewn mwg. Bydd hyny, efallai, yn wyrth, ond meddyliwn y bydd yn sicr o ddyfod i ben, ac y caiff yr oes hon ei gweled. Mae y trewlwch i gael ei luchio hefyd, fel na orfoleddo yr hen wragedd; a gyda llaw, ni anghofir y gwirod meddwol, y rhai sydd yn ddinystriol i bechadur a Sant.

Pwy bynag a wnelo gynghorion Duw, y rhai a roddwyd trwy y prophwyd Joseph, a fydd yn sicr o dderbyn adnewyddol nerth, a mwy o'r Ysbryd santaidd, yr hwn a'i gwna yn fwy galluog i sefyll dylanwad y plaau a'r heintiau a ddaw i'n gorddiwes yn gynt nag y meddyliwn. Os ydym am fod yn ddiangol, yn awr yw yr amser i barotoi, ac nid y pryd hyny: rhaid i'n cyrff gael amser i adgyweirio, cyn y gallant ddal yr ymosodiadau. Hefyd, os ydym am i Dduw wrandaw ar ein llais ni y pryd hwnw, bydded i ninnau wrandaw ar ei lais Ef yn awr; a'i lais ef ydyw, "Nid yw tybaco yn dda i'r corff, nac i'r bol, ac nid yw yn dda i ddyn; ond llysieuyn ydyw at friwiadau a phob anifeiliaid afiach, i'w arferyd gyda doethineb a medrusrwydd. Ac hefyd, nid yw gwirodydd poethion ddim at y corff na'r bol." Na chymmerwn yr hyn sydd yn ddrwg, os ydym am gael yr hyn sydd yn dda. Ac yn awr,

dyma addewid Duw i'r sawl sydd yn gwrandaw ar ei gynghor:—
"Caiff yr holl Saint a gofiant gadw a gwneuthur y dywediadau hyn [sef ynghylch tybaco, gwirod, a phethau ereill], gan rodio mewn ufydd-dod i'r gorchymynion, dderbyn iechyd yn eu bogail, a mêr i'w hesgyrn, ac a gânt ddoethineb a thrysorau mawrion o wybodaeth, ïe, trysorau cuddiedig; a rhedant ac ni flinant, a rhodiant ac ni ddiffygiant; a myfi, yr Arglwydd, wyf yn rhoi iddynt hwy addewid, y bydd i'r angel dinystriol fyned heibio iddynt, megys plant Israel, a pheidio eu lladd hwynt. Amen."

---

## AWN, AWN TUA SEION.

TON—"Duke of Malborough."

MEIB y cystudd, mewn llawenydd,
Ymestynwn tua'r wlad,
Y wlad sy'n llawn o hedd.

CYDGOR.

O, mor hyfryd pen y daith,
O, mor hyfryd pen y daith;
Awn, awn tua Seion,
Awn, awn tua Seion;
O, mor hyfryd pen y daith,
Y daith i Seion wiw.

Pan fo plaau, haint, a nodau,
Yn ysgubo Babel gerth,
Ac anferth ryfel blin;
O, mor hyfryd pen y daith, &c.

Pan fo'r newyn yn llwyr ddilyn
Bryn a phant, fal dannedd ôg,
A thros fynyddog dir;
O, mor hyfryd pen y daith, &c.

Pan fo rhiau croch daranau—
Fflamboeth fellt yn ardd y dd'a'r,
A phawb dan fâr o bwys;
O, mor hyfryd pen y daith, &c.

Pan daeargryn, erch ei ddychryn,
Yn siglo dae'r fal gogr fo
Yn llaw y nithiwr chwyrn;
O, mor hyfryd pen y daith, &c.

Pan elfenau dros derfynau,
Fal y meirch yn cwrdd mewn cad,
Gan wneyd dinystriad blin;
O, mor hyfryd pen y daith, &c.

Pwy na ddeuant, gan roi moliant
I'r Goruchel Dduw ein Tad,
Am waredigaeth dêr.
O, mor hyfryd pen y daith, &c.

*Trefeastell.* NATHAN DDU O LYWEL.

---

## YMADRODDION DOETH.

RHODDWCH gynghor gyda gochelgarwch; ychydig sydd yn ddiolchgar am gynghor a roddir yn rhy fyrbwyll.

Coleddwch gariad, a byddwch yn heddychlawn â phob dyn; byddwch yn gymmwynasgar i'ch cyfeillion, ac yn garuaidd i ddyeithriaid, ond cerwch a gwnewch dda hyd y nod i'ch gelynion; heb wneyd hyny, yr ydych yn traws-gymmeryd, ac nid yn teilyngu, yr enw o Gristion.

Na roddwch eich cynghor na'ch barn cyn y gofyner am danynt, canys nid yw hyny ond dannod i ereill eu hanwybodaeth, a phrisio eich galluoedd eich hunain yn ormodol; ac nac arferwch chwilio am feiau yn ngweithredoedd dynion ereill, canys nid ydych chwi yn rhwym o chwynu eu gerddi hwynt.

Mewn priodas, dewiswch y person o flaen golud, rhinwedd o flaen harddwch, a'r meddwl o flaen y corff; yna bydd genych wraig, a chyfeilles, a chydymmaith.

Ymweliadau a wneir neu a dderbynir ydynt yn wastraff arswydus ar amser, os na fydd eu dyben yn dda, a'u dygiad yn mlaen yn fuddiol ac adeiladol. Y rhan fwyaf o honynt a dreulir yn ofer, mewn gwagedd a gwag siarad.

Gwrthwynebwch y cynhyrfiad cyntaf i nwydau drwg; canys os nad ellwch wrthwynebu y cyntaf, byddwch yn llawer llai galluog i wrthwynebu yr ail, ac aiff yn waeth waeth yn barhaus o herwydd yr un anhawsdra; a'r hyn ag oedd ar y cyntaf yn hawdd ei orchfygu, sydd o'r diwedd wedi myned yn anwrthwynebol.

Tawelwch meddwl a geir trwy wrthwynebu ein nwydau, ac nid trwy ufyddhau iddynt.

## DARLITHIAU JOSEPH SMITH AR FFYDD.

### DARLITH II.

WEDI dangos yn ein darlith flaenorol "ffydd ei hunan—pa beth ydyw," cawn fyned yn mlaen i ddangos, yn ail, y gwrthddrych ar ba un y gorphwysa.

Yr ydym yn sylwi yma mai Duw yw yr unig lywodraethwr uchel a'r bod annibynol, yn yr hwn y mae pob cyflawnder a pherffeithrwydd yn bodoli; yr hwn sydd yn hollalluog, hollbresennol, a hollwybodol; heb ddechreu dyddiau na diwedd einioes; ac mai ynddo ef y mae pob rhodd dda ac egwyddor dda yn bodoli; ac mai efe yw tad y goleuni; ynddo ef y mae yr egwyddor o ffydd yn bodoli yn annibynol, ac efe yw y gwrthrych yn yr hwn y mae ffydd pob bod rhesymol a chyfrifol arall yn canolbwyntio am fywyd ac iachawdwriaeth.

Mewn trefn i osod allan y rhan hon o'r pwnc mewn modd goleu ac eglur, bydd yn angenrheidiol myned yn ol i ddangos y tystiolaethau y mae dynolryw wedi gael, a'r sylfaen ar ba un mae y tystiolaethau hyn yn cael, neu wedi cael eu hadeiladu oddiar y cread, i gredu mewn bodoliaeth Duw.

Nid y tystiolaethau hyny a amlygir yn ngwaith y greadigaeth, y rhai a ganfyddwn â'n llygaid naturiol yn barhaus, yw y rhai a feddyliwn. Yr ydym yn ymwybodol, yn ol dadguddiad Iesu Grist, fod gwaith y greadigaeth yn ei holl ddulliau a'i amrywiaethau, yn dangos yn eglur ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod. Rhuf. i, 20. "Canys ei anweledig bethau ef er creadigaeth y byd, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, a welir yn amlwg; sef ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod." Ond meddyliwn y tystiolaethau hyny trwy y rhai y cyflwynwyd i feddyliau dynion y drychfeddyliau cyntaf o fodoliaeth Duw a greodd bob peth.

Cawn frysio yn awr i edrych ar sefyllfa dyn yn ei gread cyntaf. Y mae Moses, yr hanesydd, wedi rhoddi i ni yr hanes canlynol am dano yn y bennod gyntaf o lyfr Genesis, yn dechreu yn yr 20fed adnod, ac yn diweddu yn y 30ain. Copïwn o'r cyfieithad newydd.

"A'r Arglwydd Dduw a ddywedodd wrth yr Unig Anedig, yr hwn oedd gydag ef o'r dechreuad, Gwnawn ddyn ar ein delw ni, yn ol ein llun ein hunain; a gwnaethpwyd hyny.

"A'r Arglwydd Dduw a ddywedodd, Bydded iddynt arglwydd-

iaethu ar bysg y môr, ac ar ehediaid y nefoedd, ac ar yr anifeiliaid, ac ar yr holl ddaear, ac ar bob ymlusgiad a ymlusgo ar y ddaear.

"Felly Duw a greodd y dyn ar ei ddelw ei hun, yn ol llun yr Unig Anedig y creodd efe ef; yn wrryw ac yn fenyw y creodd efe hwynt. A Duw a'u bendithiodd hwynt, a Duw a dywedodd wrthynt, Ffrwythwch, ac amlhewch, a llenwch y ddaear, a darostyngwch hi; ac arglwyddiaethwch ar bysg y môr, ac ar ehediaid y nefoedd, ac ar bob peth byw a ymsymudo ar y ddaear.

"A'r Arglwydd Dduw a ddywedodd wrth y dyn, Wele, mi a roddais i chwi bob llysieuyn yn hadu had, yr hwn sydd ar wyneb yr holl ddaear, a phob pren yr hwn y mae ynddo ffrwyth pren yn hadu had, i fod yn fwyd i chwi."

Etto, Genesis ii, 15, 16, 17, 18. 19, 20. A'r Arglwydd Dduw a gymmerodd y dyn, ac a'i gosododd ef yn ngardd Eden, i'w llafurio ac i'w chadw hi. A'r Arglwydd Dduw a orchymynodd i'r dyn, gan ddywedyd, O bob pren o'r ardd gan fwyta y gellwch fwyta: ond o bren gwybodaeth da a drwg, na fwytewch o hono, ac na chyffwrddwch ag ef; er hyny, gellwch ddewis drosoch eich hun, o herwydd y mae yn cael ei roddi i chwi, ond cofiwch fy mod i yn ei wahardd, oblegid yn y dydd y bwytewch chwi o hono, gan farw y byddwch farw.

"A'r Arglwydd Dduw a luniodd o'r ddaear holl fwystfilod y maes, a holl ehediaid y nefoedd, ac a'u dygodd at Adda, i weled pa enw a roddai efe iddynt hwy. * * * A pha fodd bynag yr enwodd Adda bob peth byw, hyny fu ei enw ef. Ac Adda a enwodd enwau ar yr holl anifeiliaid, ac ar ehediaid y nefoedd, ac ar holl fwystfilod y maes."

Oddiwrth y pethau blaenorol, yr ydym yn dysgu sefyllfa dyn yn ei gread cyntaf, y wybodaeth â'r hon y cafodd ei gynnysgaethu, a'r sefyllfa uchel a dyrchafedig yn yr hon y gosodwyd ef ynddi —arglwydd a llywodraethwr pob peth ar y ddaear; ac ar yr un pryd yn mwynhau cymdeithas a chyfeillach â'i Wneuthurwr, heb un lèn i wahanu rhyngddynt. Yn nesaf, awn yn mlaen i sylwi ar yr hanes a roddir o'i gwymp, a'i anfoniad allan o ardd Eden, ac o bresennoldeb yr Arglwydd.

Ychwanega Moses:—"A hwy (Adda ac Efa) a glywsant lais yr Arglwydd Dduw, pan oeddynt yn rhodio yn yr ardd gydag wel y dydd; ac ymguddiodd Adda a'i wraig o olwg yr Arglwydd

Dduw, yn mysg prenau yr ardd. A'r Arglwydd Dduw a alwodd ar Adda, ac a dywedodd wrtho, Pa le yr ydych chwi yn myned? Yntau a ddywedodd, Eich llais a glywais yn yr ardd; a mi a ofnais, oblegid mi a welais fy mod yn noeth, ac a ymguddiais.

"A dywedodd yr Arglwydd Dduw wrth Adda, Pwy a fynegodd i chwi eich bod yn noeth? Ai o'r pren y gorchymynaswn i chwi na fwytaech o hono, y bwytasoch? Os felly, gan farw y byddwch farw! A'r dyn a atebodd, Y wraig a roddasoch i mi, ac y gorchymynasoch iddi aros gyda mi, a roddodd i mi o ffrwyth y pren, a mi a fwyteais.

"A'r Arglwydd Dduw a ddywedodd wrth y wraig, Pa beth yw hyn yr ydych chwi wedi wneyd? A'r wraig a ddywedodd, Y sarff a'm twyllodd, a bwyta a wnaethum.

"Ac etto, yr Arglwydd a ddywedodd wrth y wraig, Gan amlhau yr amlhaf eich poenau chwi a'ch beichiogi: mewn poen y dygwch blant; a'ch dymuniad fydd at eich gwr, ac efe a lywodraetha arnoch chwi.

"A'r Arglwydd Dduw a ddywedodd wrth Adda, Am wrandaw o honoch ar lais eich gwraig, a bwyta o ffrwyth y pren am yr hwn y gorchymynaswn i chwi, gan ddywedyd, Na fwytewch o hono; melldigedig fydd y ddaear o'ch achos chwi: trwy lafur y bwytewch o honi holl ddyddiau eich einioes. Drain hefyd ac ysgall a ddwg hi i chwi; a llysiau y maes a fwytewch chwi. Trwy chwys eich wyneb y bwytewch fara, hyd pan ddychwelwch i'r ddaear;—oblegid gan farw y byddwch farw—oblegid o honi y cymmerwyd chwi; o herwydd pridd oeddych, ac i'r pridd y dychwelwch." Canlynwyd hyn yn uniongyrchol â chyflawniad o'r hyn a grybwyllasom o'r blaen. Gyrwyd neu danfonwyd y dyn allan o Eden.

Mae dau beth o bwys yn cael eu dangos yn y dyfyniadau blaenorol. Yn gyntaf, wedi i ddyn gael ei greu, ni chafodd ei adael heb wybodaeth a dealltwriaeth, i grwydro mewn tywyllwch a threulio ei einioes mewn anwybodaeth ac ammheuaeth (ar y pwynt mawr a dyddorol a effeithiai ei ddedwyddwch), mewn perthynas i'r ffaith eglur gan bwy y crewyd ef; neu i bwy yr oedd yn gyfrifol am ei ymddygiad. Ymddyddanai Duw ag ef wyneb yn wyneb. Yn ei bresennoldeb yr oedd yn cael caniatâd i sefyll, ac o'i enau ei hun yr oedd yn cael caniatâd i dderbyn dysgeidiaeth. Clywodd ei lais—rhodiodd o'i flaen—a syllodd ar ei ogoniant—

tra yr oedd gwybodaeth yn agor ei ddealltwriaeth, a'i alluogi i roi enwau ar y llu dirfawr o weithredoedd ei Wneuthurwr.

Yn ail, yr ydym wedi gweled, er i ddyn droseddu, nad oedd ei drosedd yn ei amddifadu o'r wybodaeth flaenorol â'r hon y cynnysgaethwyd ef mewn perthynas i fodoliaeth a gogoniant ei Greawdwr; oblegid nid cynt y clywodd ei lais, nag yr ymdrechodd ymguddio o'i wydd.

Wedi dangos, ynte, yn y lle blaenaf, i Dduw ddechreu cyfrinachu â dyn yn uniongyrchol wedi iddo "anadlu yn ei ffroenau ef anadl einioes," ac na pheidiodd wneuthur ei hun yn adnabyddus iddo, hyd y nod wedi ei gwymp; cawn frysio i ddangos yn nesaf, er iddo gael ei ddanfon allan o ardd Eden, nad oedd ei wybodaeth o fodoliaeth Duw wedi ei cholli, ac na ddarfyddodd Duw amlygu ei ewyllys iddo.

Yn nesaf cawn fyned yn mlaen i ddangos yr hanes am y dadguddiad uniongyrchol a dderbyniai dyn wedi cael ei yru o Eden, a chopïo yn mhellach o'r cyfieithiad newydd :—

"Ar ol i Adda gael ei yru allan o'r ardd, dechreuodd lafurio y ddaear, a llywodraethu ar holl anifeiliaid y maes, a bwyta ei fara trwy chwys ei wyneb, fel y gorchymynodd yr Arglwydd iddo; a galwodd ef ar enw yr Arglwydd, ac felly y gwnaeth Efa ei wraig hefyd. A chlywsant hwy lais yr Arglwydd, o'r ffordd a arweiniai i ardd Eden, yn llefaru wrthynt, ac ni welsant ef, oblegid yr oeddynt wedi eu cau allan o'i bresennoldeb: ond efe a roddodd iddynt orchymynion i addoli yr Arglwydd eu Duw, ac offrymu y blaenffrwyth o'u diadelloedd yn offrwm i'r Arglwydd: A bu Adda yn ufydd i'r gorchymyn.

"Ac ar ol llawer o ddydiau ymddangosodd angel yr Arglwydd i Adda, gan ddywedyd, Paham yr ydych chwi yn offrymu aberthau i'r Arglwydd? Ac Adda a ddywedodd wrtho, Nid wyf yn gwybod; ond y mae'r Arglwydd wedi gorchymyn i mi offrymu aberthau.

"A'r angel a ddywedodd wrtho, Mae y peth hwn yn gyffelybiaeth i aberthiad Cyntaf Anedig y Tad, yr hwn sydd yn llawn gras a gwirionedd. A bydded i chwi wneyd pob peth a wneloch yn enw y Mab, a bydded i chwi edifarhau a galw ar Dduw yn ei enw ef dros byth. Yn y dydd hwnw yr Ysbryd Glân a ddysgynodd ar Adda, a dygodd dystiolaeth o'r Tad a'r Mab."

Mae y dyfyniad neu'r crynodeb olaf hwn yn dangos y ffaith

bwysig hon, i'n rhieni cyntaf, er iddynt gael eu gyru allan o ardd Eden, ac hyd y nod eu gwahanu oddiwrth bresennoldeb Duw gan lèn, etto meddent wybodaeth o hyd am ei fodoliaeth, a hyny yn ddigonol i'w hannog i alw arno. Ac yn mhellach, mai nid cynt y cafodd trefn achub ei dadguddio i ddyn, ac i yntau ddechreu galw ar Dduw, nag y rhoddwyd yr Ysbryd Glân, yn dwyn tystiolaeth o'r Tad a'r Mab.

Y mae Moses hefyd yn rhoddi hanes i ni, yn y bedwerydd o Genesis, am drosedd Cain, a chyfiawnder Abel, ac am ddadguddiadau Duw iddynt. Dywed, "wedi talm o ddyddiau i Cain ddwyn o ffrwyth y ddaear offrwm i'r Arglwydd. Ac Abel yntau a ddwg o flaenffrwyth ei ddefaid, ac o'u brasder hwynt. A'r Arglwydd a edrychodd ar Abel, ac ar ei offrwm: ond nid edrychodd efe ar Cain, nac ar ei offrwm ef. Yn awr Satan a wybu hyn, a boddlonwyd ef. A digllonodd Cain yn ddirfawr, fel y syrthiodd ei wynebpryd. A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Cain, Paham y llidiasoch? paham y syrthiodd eich gwynebpryd? Os da y gwnewch, oni chewch oruchafiaeth? ac oni wnewch yn dda, pechod a orwedd wrth y drws; ac y mae Satan yn dymuno eich cael chwi; ac oni wrandewch ar fy ngorchymynion, gwnaf eich rhoddi i fyny, a bydd i chwi megys yr ewyllysio efe.

"A Chain a aeth allan i'r maes, ac a ymddyddanodd â'i frawd Abel. A thra yr oeddynt hwy yn y maes, Cain a gododd yn erbyn Abel ei frawd, ac a'i lladdodd ef. A gorfoleddodd Cain yn yr hyn a wnaeth, gan ddywedyd, Yr wyf yn rhydd; yn awr diau y daw diadelloedd fy mrawd i'm dwylaw i.

"Ond yr Arglwydd a ddywedodd wrth Cain, Pa le y mae Abel, eich brawd? Yntau a ddywedodd, Nis gwn; ai ceidwad fy mrawd ydwyf fi? A dywedodd yr Arglwydd, Beth a wnaethoch? llef gwaed eich brawd sydd yn gwaeddi arnaf fi o'r ddaear. Ac yr awr hon melldigedig ydych chwi o'r ddaear, yr hon a agorodd ei safn i dderbyn gwaed eich brawd o'ch llaw chwi. Pan lafuriech y ddaear, ni ychwanega hi roddi ei ffrwyth i chwi; gwibiad a chrwydriad fyddwch ar y ddaear.

"A Chain a ddywedodd wrth yr Arglwydd, Satan a'm temtiodd oblegid diadelloedd fy mrawd. Ac yr oeddwn yn ddigllawn hefyd; oblegid i'w offrwm ef gael ei gymmeradwyo, a'm heiddo innau ddim. Mae fy nghosp yn fwy nag y gallaf ddyoddef. Wele, gyrasoch fi heddyw allan o wyddfod dynion, ac o'ch presennoldeb

chwithau hefyd i'm cuddir: a gwibiad a chrwydriad fyddaf ar y ddaear; a phwy bynag a'm caffo, a'm lladd o herwydd fy adduned, canys nid yw y pethau hyn yn guddiedig oddiwrth yr Arglwydd. A dywedodd yr Arglwydd wrtho, Am hyny y dïelir yn saith dyblyg ar bwy bynag a laddo Cain. A'r Arglwydd a osododd nôd ar Cain, rhag i neb a'i caffai ei ladd ef."

Dyben y dyfyniadau blaenorol yw dangos i'r dosparth hwn y ffordd trwy yr hon y daeth dynolryw yn adnabyddus gyntaf o fodoliaeth Duw; mai trwy amlygiad o eiddo Duw i ddyn y daeth; ac i Dduw barhau, ar ol troseddiad dyn, i amlygu ei hunan iddo ac i'w had; ac, er eu bod wedi eu gwahanu o'u wyddfod uniongyrchol, fel nas gallent weled ei wyneb, etto parhausant i glywed ei lais.

Wedi i Adda fel hyn gael adnabyddiaeth o Dduw, trosglwyddodd y wybodaeth a gafodd i'w had; a thrwy y moddion hyn y cyflwynwyd y dyb gyntaf i'w meddyliau o fod Duw yn bodoli, yr hyn a osodai sylfaen er iddynt weithredu eu ffydd, trwy yr hon y gallent gyrhaedd gwybodaeth o'i gymmeriad ac hefyd o'i ogoniant.

Nid yn unig fe roddwyd amlygiad i Adda o fodoliaeth Duw; ond y mae Moses yn ein hysbysu, fel ag y dyfynasom o'r blaen, fod Duw wedi ymddarostwng i ymddyddan â Chain ar ol ei drosedd mawr o ladd ei frawd, ac fod Cain yn gwybod mai yr Arglwydd oedd yn ymddyddan ag ef: felly, pan gafodd ef ei yru allan o wyddfod ei frodyr, cariodd gydag ef y wybodaeth o fodoliaeth Duw; a trwy y moddion hyn, yn ddiammau, daeth ei had yn adnabyddus o'r ffaith fod y fath fôd yn bodoli.

Gallwn ddysgu oddiwrth hyn fod yr holl hil ddynol, yn oes foreuol eu bodoliaeth, yn eu holl wahanol ddosparthiadau, â'r wybodaeth hon wedi eu lledaenu yn eu plith; fel ag y daeth bodoliaeth Duw yn wrthddrych ffydd yn oes foreuol y byd. A'r amlygiadau a feddai y dynion hyn o fodoliaeth Duw, oedd tystiolaeth eu tadau yn y lle cyntaf.

Yr achos ein bod fel hyn wedi bod mor fanwl ar y rhan hon o'n pwnc yw, fel y gallo'r dosparth hwn weled trwy ba ffordd yr oedd Duw yn dyfod yn wrthddrych ffydd yn mhlith dynion ar ol y cwymp; a pha beth oedd yn cynhyrfu ffydd llaweroedd i deimlo yn ei gylch—i chwilio am wybodaeth o'i gymmeriad, perffeithrwydd, a'i briodoleddau, hyd nes y daethent i wybodaeth helaeth o hono,

ac nid yn unig i gyfrinachu ag ef, a gweled ei ogoniant, ond i fod yn gyfranog o'i allu, a sefyll yn ei wyddfod.

Bydded i'r dosparth hwn sylwi yn neillduol, ar y dystiolaeth a feddai y dynion yma o fodoliaeth Duw, mai tystiolaeth dyn ydoedd; o herwydd yn flaenorol i'r amser y cafodd rhai o hiliogaeth Adda amlygrwydd o Dduw eu hunain, yr oedd Adda, eu tad cyffredinol, wedi tystiolaethu wrthynt am fodoliaeth Duw, ac am ei dragywyddol allu a'i Dduwdod.

Er enghraifft, yr oedd Abel, cyn iddo dderbyn sicrwydd o'r nefoedd fod ei offrwm yn gymmeradwy gan Dduw, wedi derbyn y wybodaeth bwysig oddiwrth ei dad, fod y fath fôd yn bodoli, yr hwn oedd wedi creu ac yn cynnal pob peth i fyny. Nis gall ychwaith fod ammheuaeth yn bodoli yn meddwl unrhyw berson, nad Adda oedd y cyntaf a gyflwynodd y wybodaeth o fodoliaeth Duw i'w hiliogaeth; ac nad yw holl ffydd y byd, o'r amser hwnw i lawr hyd yn bresennol, i ryw radd yn ddibynol ar y wybodaeth a gyflwynwyd gyntaf iddynt gan eu tad cyffredinol; ac y mae wedi ei chyflwyno i lawr i'r dydd a'r genedlaeth yn mha rai yr ydym ni yn byw, fel y cawn ddangos oddiar wyneb yr oraclau dwyfol.

Yn gyntaf, yr oedd Adda yn 130 mlwydd oed pan y cafodd Seth ei eni. Gen. v, 3. A dyddiau Adda, wedi iddo genedlu Seth, oedd 800 mlynedd, yr hyn a'i gwnai yn 930 mlwydd oed pan y bu farw. Gen. v, 4, 5. Yr oedd Seth yn 105 pan anwyd Enos (adn. 6); Enos yn 90 pan anwyd Cenan (adn. 9); Cenan yn 70 pan anwyd Mahalaleel (adn. 12); Mahalaleel yn 65 pan anwyd Jered (adn. 15); Jered yn 162 pan anwyd Enoch (adn 18); Enoch yn 65 pan anwyd Methuselah (adn. 21); Methuselah yn 187 pan anwyd Lamech (adn. 25); Lamech yn 182 pan anwyd Noah (adn. 28).

Oddiwrth yr hanes hyn ymddengys fod Lamech, y nawfed o Adda, a thad Noah, yn 56 mlwydd oed pan fu farw Adda; Methuselah, yn 243; Enoch, yn 308; Jered, yn 470; Mahalaleel, yn 535; Cenan, yn 605; Enos, yn 695; a Seth, yn 800.

Felly yr oedd Lamech, tad Noah, Methuselah, Enoch, Jered, Mahalaleel, Cenan, Enos, Seth, ac Adda, yn byw oll yr un pryd, a thu hwnt i bob dadl, oll yn bregethwyr cyfiawnder.

Hysbysa Moses i ni yn mhellach i Seth fyw wedi iddo genedlu Enos, 807 mlynedd, yr hyn a'i gwnai yn 912 mlwydd oed pan y

bu farw. Gen. v, 7, 8. Ac Enos a fu byw wedi iddo genedlu Cenan, 815 mlynedd, yr hyn a'i gwnai yn 905 mlwydd oed pan y bu farw (adn. 10, 11). A bu Cenan fyw wedi iddo genedlu Mahalaleel, 840 mlynedd, yr hyn a'i gwnai yn 910 mlwydd oed pan y bu farw (adn. 13, 14). A Mahalaleel a fu fyw wedi iddo genedlu Jered, 830 mlynedd, yr hyn a'i gwnai yn 895 mlwydd oed pan y bu farw (adn. 16, 17). A Jered a fu fyw wedi iddo genedlu Enoch, 800 mlynedd, yr hyn a'i gwnai yn 962 mlwydd oed pan y bu farw (adn. 19, 20). Ac Enoch a rodiodd gyda Duw wedi iddo genedlu Methuselah, 300 mlynedd, yr hyn a'i gwnai yn 365 mlwydd oed pan y cymmerwyd ef i fyny (adn. 22, 23).* A Methuselah a fu fyw wedi iddo genedlu Lamech, 782 mlynedd, yr hyn a'i gwnai yn 969 mlwydd oed pan y bu farw (adn. 26, 27). A Lamech a fu fyw wedi iddo genedlu Noah, 595 mlynedd, yr hyn a'i gwnai yn 777 mlwydd oed pan y bu farw (adn. 30, 31).

Yn unol â'r cyfrif hwn, bu Adda farw yn y 930 flwyddyn o oedran y byd; cymmerwyd Enoch yn y 987; bu farw Seth yn y 1042; Enos yn y 1140; Cenan yn y 1235; Mahalaleel yn y 1290; Jered yn y 1422; Lamech yn y 1651; a Methuselah yn y 1656, yn yr hon flwyddyn y daeth y diluw.

Felly yr oedd Noah yn 84 mlwydd oed pan fu farw Enos, 176 pan fu farw Cenan, 234 pan fu farw Mahalaleel, 366 pan fu farw Jered, 595 pan fu farw Lamech, a 600 pan fu farw Methuselah.

Oddiwrth hyn gallwn weled fod Enos, Cenan, Mahalaleel, Jered, Methuselah, Lamech, a Noah, oll yn byw ar y ddaear yr un pryd; a bod Enos, Cenan, Mahalaleel, Jered, Methuselah, a Lamech, oll yn adnabyddus o Adda a Noah.

Mae yn hawdd ddigon i weled, oddiwrth y pethau blaenorol, nid yn unig pa fodd y daeth gwybodaeth o Dduw i'r byd, ond ar ba egwyddor yr oedd yn cael ei chadw; oddiar yr amser y rhoddwyd hi gyntaf, cadwyd hi yn meddyliau dynion cyfiawn, y rhai a'i dysgent nid yn unig i'w hiliogaeth, ond i'r byd; fel nad oedd anghen am ddadguddiad newydd i ddyn, oddiar gread Adda hyd Noah, er rhoddi iddynt feddylddrych neu dyb o fodoliaeth rhyw Dduw; ac nid yn unig rhyw Dduw, ond y gwir a'r bywiol Dduw.

Wedi olrhain amseryddiaeth y byd o Adda hyd Noah, cawn yn awr ei olrhain o Noah i Abraham. Yr oedd Noah yn 502

* Yn ol yr Hen Destament. Am oedran Enoch, edrycher y Covenants and Commandments, sec. iii, 24.

mlwydd oed pan y ganwyd Sem; yn mhen 98 mlynedd wedi hyny daeth y diluw, yr hyn a wnai oedran Noah yn 600 mlwydd. Ac hysbysir ni gan Moses i Noah fyw ar ol y diluw 350 mlynedd, yr hyn a'i gwnai yn 950 pan y bu farw. Gen. ix, 28, 29.

Yr oedd Sem yn 100 mlwydd oed pan anwyd Arphaxad. Gen. xi, 10. Yr oedd Arphaxad yn 35 pan anwyd Selah (xi, 12); Selah yn 30 pan anwyd Heber (xi, 14); Heber yn 34 pan anwyd Peleg, yn nyddiau yr hwn y rhanwyd y ddaear (xi, 16); Peleg yn 30 pan anwyd Reu (xi, 18); Reu yn 32 pan anwyd Serug (xi, 20); Serug yn 30 pan anwyd Nachor (xi, 22); Nachor yn 29 pan anwyd Terah (xi, 24); Terah yn 70 pan anwyd Haran ac Abraham (xi, 26).

Mae rhyw anhawsdra yn yr hanes a rydd Moses am enedigaeth Abraham. Tybia rhai na chafodd Abraham ei eni nes yr oedd Terah yn 130 mlwydd oed. Tynir y casgliad hwn o amrywiol fanau o'r ysgrythyrau, y rhai nid ydynt o un dyben i ni yn bresennol i'w dyfynu. Nid yw ychwaith o un pwys i ni, pa un a oedd Abraham wedi ei enwi pan oedd Terah yn 70 mlwydd oed, neu 130. Ond fel na byddo un ammheuaeth yn gorphwys ar feddwl neb, mewn perthynas i'r pwnc sydd yn fwyaf neillduol dan ein sylw, wrth roddi yr amseryddiaeth presennol, cawn ddyddio genedigaeth Abraham yn ol y gyfnod olaf, hyny yw pan oedd Terah yn 130 mlwydd oed. Ymddengys oddiwrth y cyfrif hwn, fod o'r diluw hyd enedigaeth Abraham 352 o flynyddoedd.

Dywed Moses wrthym i Sem fyw wedi iddo genedlu Arphaxad, 500 (Gen. xi, 11); hyn wedi ei ychwanegu at 100 mlynedd, yr hyn oedd ei oedran pan anwyd Arphaxad, a'i gwna yn 600 mlwydd oed pan y bu farw. Bu Arphaxad fyw wedi iddo genedlu Selah, 403 mlynedd (xi, 13); hyn wedi ei ychwanegu at 35 mlynedd, yr hyn oedd ei oedran pan anwyd Selah, a'i gwna yn 438 mlwydd oed pan y bu farw. Bu Selah fyw wedi iddo genedlu Heber, 403 mlynedd (xi, 15); hyn wedi ei ychwanegu at 30 mlynedd, yr hyn oedd ei oedran pan anwyd Heber, a'i gwna yn 433 mlwydd oed pan y bu farw. Bu Heber fyw wedi iddo genedlu Peleg, 430 mlynedd, (xi, 17); hyn wedi ei ychwanegu at 34 mlynedd, yr hyn oedd ei oedran pan anwyd Peleg, a'i gwna yn 464 pan y bu farw. Bu Peleg fyw wedi iddo genedlu Reu, 209 mlynedd (xi, 19): hyn wedi ei ychwanegu at 30 mlyn-

edd, yr hyn oedd ei oedran pan anwyd Reu, a'i gwna yn 239 mlwydd oed pan y bu farw. Bu Reu fyw wedi iddo genedlu Serug, 207 mlynedd (xi, 21); hyn wedi ei ychwanegu at 32 mlynedd, yr hyn oedd ei oedran pan anwyd Serug, a'i gwna yn 239 mlwydd oed pan y bu farw. Bu Serug fyw wedi iddo genedlu Nachor, 200 mlynedd (xi, 23); hyn wedi ei ychwanegu at 30 mlynedd, yr hyn oedd ei oedran pan anwyd Nachor, a'i gwna yn 230 mlwydd oed pan y bu farw. Bu Nachor fyw wedi iddo genedlu Terah, 119 mlynedd (xi, 25); hyn wedi ei ychwanegu at 29 mlynedd, yr hyn oedd ei oedran pan anwyd Terah, a'i gwna yn 148 mlwydd oed pan y bu farw. Yr oedd Terah yn 130 mlwydd oed pan anwyd Abraham, a meddylir iddo fyw 75 mlynedd ar ol ei enedigaeth, yr hyn a'i gwna yn 225 mlwydd oed pan y bu farw.

Yn unol â'r cyfrif diweddaf hwn, bu Peleg farw yn y 1996 flwyddyn o oedran y byd, Nachor yn y 1997, a Noah yn y 2006. Felly, bu Peleg, yn nyddiau yr hwn y rhanwyd y ddaear, a Nachor, tadcu Abraham, eill dau farw o flaen Noah—y cyntaf yn 239 mlwydd oed, a'r olaf yn 148; a phwy na all weled fod yn rhaid eu bod wedi cael adnabyddiaeth hir ac agos o Noah?

Bu Reu farw yn y 2026 flwyddyn o oedran y byd, Serug yn y 2049, Terah yn y 2083, Arphaxad yn y 2096, Selah yn y 2126, Sem yn y 2158, Abraham yn y 2183, ac Heber yn y 2187, yr hyn oedd bedair blynedd ar ol marwolaeth Abraham. Ac Heber oedd y pedwerydd o Noah.

Yr oedd Nachor, brawd Abraham, yn 58 mlwydd oed pan y bu Noah farw, Terah yn 128, Serug yn 187, Reu yn 219, Heber 283, Selah yn 313, Arphaxad yn 344, a Sem yn 448.

Ymddengys oddiwrth y cyfrif hyn, fod Nachor, brawd Abraham, Terah, Nachor, Serug, Reu, Peleg, Heber, Selah, Arphaxad, Sem, a Noah, oll yn byw ar y ddaear yr un pryd; a bod Abraham yn 18 mlwydd oed pan fu farw Reu, 41 pan fu farw Serug a'i frawd Nachor, 75 pan fu farw Terah, 88 pan fu farw Arphaxad, 118 pan fu farw Selah, 150 pan fu farw Sem, ac i Heber fyw bedair blynedd ar ol marwolaeth Abraham. A bod Sem, Arphaxad, Selah, Heber, Reu, Serug, Terah, a Nachor, brawd Abraham, ac Abraham, oll yn byw yr un pryd. A bod Nachor, brawd Abraham, Terah, Serug, Reu, Heber, Selah, Arphaxad, a Sem, oll yn adnabyddus o Noah ac Abraham.

Yn awr yr ydym wedi olrhain amseryddiaeth y byd, yn unol â'r hanes a roddir yn ein bibl presennol, o Adda hyd Abraham, ac wedi penderfynu yn eglur tuhwnt i bob dadl, nad oedd un anhawsdra i gadw y wybodaeth o Dduw yn y byd o greadigaeth Adda, a'r amlygrwydd a roddwyd i'w hiliogaeth uniongyrchol, megys y dangoswyd yn y rhan flaenaf o'r ddarlith hon, fel y gall y myfyrwyr yn y dosparth hwn beidio gadael un ammheuaeth yn eu meddyliau ar y pwnc hwn; o herwydd gallant ganfod yn rhwydd ei bod yn anmhosibl iddi fod fel arall, ond fod yn rhaid fod gwybodaeth o fodoliaeth Duw yn parhau o dad i fab, fel mater o draddodiad o leiaf; canys ni allwn dybied fod gwbodaeth o ffaith bwysig fel hyn yn bodoli yn meddwl neb o'r personau crybwylledig, heb eu bod yn ei gwneuthur yn hysbys i'w hiliogaeth.

Yr ydym yn awr wedi dangos pa fodd y daeth y dyb gyntaf i fodoli yn meddwl unrhyw ddyn fod y fath fôd â Duw i'w gael, yr hwn oedd wedi creu ac yn cynnal pob peth; mai o achos yr amlygrwydd a roddodd efe gyntaf i'n tad Adda, pan y safodd yn ei bresennoldeb, ac yr ymddanodd ag ef wyneb yn wyneb, yn yr amser y cafodd ei greu.

Gadewch i ni sylwi yma, mai wedi i ryw gyfran o'r teulu dynol gael eu gwneyd yn wybodus o'r ffaith bwysig o fod Duw yn bodoli, yr hwn sydd wedi creu ac yn cynnal pob peth, bydd helaethrwydd eu gwybodaeth am ei gymmeriad a'i ogoniant yn ymddibynu ar eu diwydrwydd a'u ffyddlondeb yn ei geisio, nes fel Enoch, brawd Jered, a Moses, i feddu ffydd yn Nuw, a gallu i'w weled ef wyneb yn wyneb.

Yr ydym yn awr wedi gosod allan yn eglur pa fodd y mae, a pha fodd yr oedd, Duw yn dyfod yn wrthddrych ffydd i fodau rhesymol; ac hefyd, ar ba sylfaen y gosodwyd y dystiolaeth ag oedd yn annog y Saint cyntefig i chwilio yn ddiwyd am, a chyrhaedd gwybodaeth o ogoniant Duw; ac yr ydym wedi canfod mai tystiolaeth ddynol, a thystiolaeth ddynol yn unig, oedd yn achosi yr ymchwiliad hwn, yn y lle cyntaf, yn eu meddyliau. Y grediniaeth ydoedd a roddent i dystiolaeth eu tadau: ac wedi i'r dystiolaeth hon gynhyrfu eu meddyliau i chwilio am wybodaeth o Dduw, yr oedd yr ymchwiliad yn fynych yn terfynu, ïe, yn wastad yn terfynu, pan yn cael ei ddefnyddio yn iawn, yn y darganfyddiadau mwyaf gogoneddus ac mewn sicrwydd tragwyddol.

## ORDEINIADAU.

"NA osoder dwylaw yn ebrwydd ar neb," meddai yr Apostol Paul, ac felly meddwn ninnau. Mae esgeuluso y rhybydd uchod, gan y rhai sydd yn dal swyddi uchel yn yr Eglwys yn yr Ynysoedd Prydeinig, wedi bod yn achos o ddrwg mawr, tuag at attal yr hwn, penderfynasom roddi rhai cyfarwyddiadau cyffredinol ynghylch ordeinio yn yr amser dyfodol.

Na ordeinier neb i unrhyw swydd yn yr offeiriadaeth, heb fod llywydd y gynnadledd, yn gystal â'r gangen yn mha un yr arosa, yn gwybod ac yn cydsynio. Ac y mae o'r pwys mwyaf fod llywyddion y cangenau yn ofalus iawn wrth gymmeradwyo personau i'w hordeinio mewn cymmanfa, neu ryw fan arall, onide byddant, i ryw raddau, yn gyfrifol am y drygau a all gyfodi oddiar ddiofalwch ac anystyriaeth. Os bydd rhywun yn ddioglyd yn cyflawni ei ddyledswyddau fel aelod, ni ddylai ar un cyfrif gael ei alw i unrhyw swydd. Os bydd yn euog o yfed gwirodydd poethion, yn lle cael ei ordeinio i'r offeiriadaeth, dylai gael ei geryddu; ac os bydd mewn rhyw achos yn dilyn hyd at feddwdod, dylid ymddwyn ato yn llymdost; ac onid edifarha, dylid ei dori allan. Gofaler galw dynion o "dystiolaeth dda"—dynion sydd â'u dymuniad llywodraethol i ddwyn eu nwydau a'u chwantau mewn perffaith ufydddod i'w hewyllys, a'u hewyllys mewn perffaith ufydd-dod i gyfreithiau a gorchymynion Duw. Gwna un felly fwy o ddaioni nag ugain o gymmeriadau gwahanol. Yr addasiad anghenrheidiol i ordeiniad yw, fod y personau yn eithaf adnabyddus o gyfreithiau a gorchymynion Duw, fel y rhoddwyd hwynt trwy ein prophwyd merthyredig, yn gystal â'r rhai a roddwyd trwy brophwydi yr eglwys gyntefig, fel y byddont yn eithaf hyddysg mewn pob pwynt o athrawiaeth, ac mewn egwyddorion llywodraeth. Dylent fod yn ddynion sydd yn llywodraethu eu tai mewn cyfiawnder, gan ddwyn eu plant i fyny yn y ffordd y dylent fyned, trwy rodio eu hunain yn y ffordd y dymunant i'w plant rodio ynddi.

Fel rheol gyffredinol, byddai yn well ordeinio dynion i'r offeiriadaeth leiaf yn gyntaf, a'u gadael i ennill eu ffordd i'r fwyaf trwy ffyddlondeb; a pheidio yn mhob amgylchiad dyrchafu dyn mewn awdurdod, os na fydd wedi profi ei hun yn deilwng, mor bell ag y bo amgylchiadau yn caniatâu, trwy gyflawni yn ffyddlawn holl ddyledswyddau ei swydd flaenorol. Mae y dyn ffydd-

Iawn yn deilwng o bob cefnogiad; ac, o'r tu arall, ni chaiff y dyn anffyddlawn sefyll.—Gwel yr Ath. a'r Cyf., iii, 44. "Gan hyny dysged pob dyn ei ddyledswydd, a gweinydded yn y swydd i ba un yr apwyntiwyd ef iddi, gyda phob diwydrwydd. Ni ystyrir y diog yn deilwng i sefyll; a'r hwn ni ddysg ei ddyledswydd, ac ni ddengys ei hun yn gymmeradwy, a ystyrir yn annheilwng i sefyll. Felly, Amen."

Dymunir ar lywyddion y cynnadleddau i edrych fod sylw yn cael ei wneuthur o'r cyfarwyddiadau hyn yn eu gwahanol gylchoedd; ac yn gymmaint â'u bod hwy wedi eu galw i'r swydd o ben-bugeiliaid, dylent ofalu bod yn esiampl yn mhob gweithred dda, a gweled fod y bugeiliaid cynnorthwyol yn myned ac yn gwneuthur yr un modd; a bod ceidwaid y deadelloedd yn ddynion ag sydd â'u hesiampl a'u hyfforddiadau a thuedd ynddynt i greu dylanwad llesol mewn cymdeithas.

Nid oes dim yn yr uchod wedi ei fwriadu i wahardd yr henuriaid teithiol i alw dynion i swyddi, a'u hordeinio (trwy gydsyniad llywydd y gynnadledd) mewn lleoedd lle mae cangen wedi ei chodi ganddynt. Gwel Ath. a'r Cyf., ii, 16. "Nid oes un person i gael ei ordeinio i unrhyw swydd yn yr eglwys hon, lle y mae cangen o'r cyfryw wedi ei rheoleiddio, heb bleidlais yr eglwys hono; ond gall henuriaid llywyddol, esgobion teithiol, uchel gynghorwyr, archoffeiriaid, ac henuriaid, gael y fraint o ordeinio lle nad oes cangen o'r eglwys er galw am bleidlais."

ORSON PRATT.

---

## LLYTHYR O'R COUNCIL BLUFFS AT Y LLYWYDD W. PHILLIPS.

*Council Bluffs, Rhag.* 25, 1849.

ANWYL FRAWD PHILLIPS,—Meddyliaf y byddai yn fuddiol rhoi ychydig o'm meddwl o barthed i'r pethau anghenrheidiol i'r daith bellenig ag y bydd llawer o'm brodyr a'm chwiorydd yn wyneby arni heb fod yn hir. Y peth cyntaf i'w feddu yw ystôr dda o amynedd; oblegid ni wna ceintach les i neb dynion; ac os byddant am gael taith rwydd a llwyddiannus, meddylied pob un gadw cynghorion y llywydd. Os na wnant hyny, byddant yn debyg o golli Ysbryd Duw o'u plith; daw yr un drwg i mewn, ac yna nid yn rhwydd iawn y ceir ef allan. Er fod llawer o'n cwmpeini ni

wedi myned yn ysglyfaeth i'r Cholera, nid ydwyf yn gwybod ond am un neu ddau o honynt, heb fod yn ffeindio bai ar drefn y llywydd; felly, nid oedd ufydd-dod gwirfoddol o'r galon—ambell un yn anfoddlawn i'r rhai ag oedd y brawd Jones yn osod i ofalu am rai pethau, o herwydd fod hwn a hwn yn henach yn yr eglwys, &c. Dywedaf etto, gofalwch a gwyliwch rhag yr ysbryd hwna; cofiwch gynghor yr Arglwydd Iesu Grist, sef, Gwrandewch ar lais eich bugail. Os felly gwneir, bydd llwyddiant ar y daith.

Yn awr caf son am bethau ereill. Byddai pob math o hadau gerddi yn dda i ddyfod drosodd. Cynghorwn y crefftwyr i ddyfod â'u hoffer ganddynt. Byddai papyr ysgrifenu o wasanaeth mawr, megys quire neu ddau. Y sawl a allo, deued â llestri tin at drin llaeth, llestri tê hefyd, gwydrau, haiarn, a dur. Nid oes fawr o gyfrif ar rawiau gwaith mwyn a glo yma; ond y mae palau yn ddrud, sef o 4s. i 5s. yr un. Ceir palau yn Liverpool am oddeutu 10s. yr hanner dwsin. Byddwn yn ddiolchgar os daw rhai o'r brodyr ag hanner dwsin o balau i mi o Liverpool; ni fydd fawr trafferth yn eu cylch. Hefyd, hanner dwsin o bigau at drin gwair. Byddai yn dda genyf eu cael; swllt yr un yw eu pris yma. Tâl pob math o haiarn i'w garia yma, ond bwyelli; y mae'r rhai hyny yn well yma nag yn Mhrydain. Pris haiarn cyffredin yw dwy a dimai y pwys; haiarn mân yn dair ceiniog ac uwch. Calico yn ddwbwl bris; llestri pridd yr un modd; gwydrau hefyd ydynt yn ddrudion yma.

Cynghorwn bob un fyddo yn ymfudo am ofalu fod eu blychau yn gryfion, wedi eu gwneyd o bren sych; y mae rhai yn cael colled trwy fod eu blychau ddim yn sych, ac felly yn braenu eu dillad. Byddai pytatws ar y môr yn ddymunol iawn, ac ysgadan, blawd ceirch, cig moch, cig eidion sych, pybyr, mwstardd, halen, pickles, winwyn, ac oranges. Nid yw oranges, yn ol fy marn i, o fawr defnydd; y mae afalau yn well, y rhai a ellir eu pobi neu roi mewn teisien. Mae brandi yn fuddiol at wresogi yr ystumog pan fyddo yn oer, a'r môr yn ymgynhyrfu. Rhag clefyd y môr, byddai yn dda cymmeryd rhyw bethau oddeutu pythefnos cyn cychwyn, er glanhau yr ystumog, fel y byddo mor rhydd o'r *bile* ag y bo bosibl. Bydd hyny yn help rhag clefyd y môr, os nid ei luddias yn hollol. Y mae plant bychain yn well morwyr nag ydyw dynion mewn oed; safant ar eu traed pan fyddo eu rhieni ag un goes yn rhy fer, neu y llall yn rhy hir, i gerdded heb dra-

fferth. Yr ydwyf wedi ysgrifenu o'r blaen atoch; gobeithiaf eich bod wedi derbyn fy llythyr, ac y bydd atebiad cyn y byddo hwn ar ben ei daith. Anfonais ddau gopi o'r "Frontier Guardian" i John Davis. Da fyddai genyf gael copi o'r "Udgorn Seion." A ydyw yn bosibl i'r Udgorn chwythu yn groes i'r môr; byddai yn dda gan lawer Cymro glywed ei lais, os gall roddi ei lais i'r America. Dymunwn gael gwybod y telerau; efallai y gallem ffurfio cynllun, fel byddai cyfrinach bob mis neu amlach. Byddaf ddiolchgar i'r brawd Davis am ei farn ar y mater. Dymunwn gael llythyr yn hysbysu pa bryd bydd y Cymru yn bwriadu cychwyn, pwy fydd y llywydd, &c., fel y gallwyf ysgrifenu llythyr i St. Louis neu New Orleans i'w cyfarfod. Dichon o hyn i'r pryd y byddont yn cychwyn, y gallaf roi cyfarwyddyd pa bethau a allant brynu yno, a'u gwerthu yma am bris go dda. Dysgwylir i'r aur-gloddwyr ddyfod yma yn y gwanwyn yn dorfeydd. Os deuant, bydd lle i wneuthur dollars yn lled rwydd; mae rhai yn gwneuthur oddeutu 400 o ddollars yr un mewn ychydig fisoedd, trwy brynu pethau i'r aur-gloddwyr. Gall y Cymry wneuthur yr un peth yn rhwydd, heb ddim rhwystr ar eu taith. Cefais le fy hun y dydd cyntaf ag y gosodais fy nhroed ar dir y Bluffs, i ennill 49 o ddollars, trwy werthu iddynt. Gwelwch, bellach, y lles allaf wneuthur i'r Saint, trwy anfon llythyr i'w cyfarfod, os na ddeuaf fy hun.

Yr ydym ni fel cangen Gymreig yn gysurus, ac yr ydwyf wedi priodi pedwar, sef John Williams, o'r Fonachlog, a Mary Jones, o ochr Mynydd Aberdar; Edward Evans, Hirwaen, ag Alice, merch David Richards y gof. Mae Alexander Owens, Twynyrodyn, wedi marw o'r clefyd melyn; hysbyswch i'w wraig. Na fydded i neb ofni y môr; y mae yn hyfryd iawn i forio ar dywydd teg; o Liverpool i'r Sounding y mae arwaf. Bydd ein tabernacl ar ben erbyn y deloch chwi a'r ymfudwyr yma; y mae yn y sgwar yn awr. Ni chlywais ond unwaith oddiwrth y brawd Jones wedi ei ymadawiad i'r Dyffryn; yr oedd 500 o filltiroedd o'r Bluffs y pryd hwnw—efe, ei wraig, a'r plentyn, a'r cwmpeini oll, yn iach, ac yn myned yn y blaen yn llwyddiannus. Byddaf yn dysgwyl llythyr-god etto o'r Dyffryn heb fod yn hir. Yr ydym wedi clywed am y Cholera yn eich plith; nid oes dim Cholera yn St. Louis yn awr, ac ni fu dim o'r clefyd dinystriol hwn yn y Bluffs hyd yn hyn.

Cofiwch fi at y swyddogion a'r holl Saint, a'r Arglwydd grasol a'ch bendithio, ac a'ch dygo yn iach i Seion fryn, yw dymuniad fy nghalon.

Ydwyf, eich brawd yn y cyfammod newydd,

WILLIAM MORGAN.

O.Y.—Hysbyswch fod Wm. Jenkins, o Gaerdyf, yn aros yn y Bluffs. Clywsom trwy y doniau fod rhai o'r brodyr yn dyoddef yn achos tân, a bod y dinystrydd yn eich plith. Derbyniais lythyron Morgan Morgans, E. Thomas, a Morgan Hughes. Mae John Ormond a'i fab a'i ddwy ferch yma.

---

## GAIR O GYNGHOR I'R EGLWYSI.

MEWN canlyniad i'r achwyniadau sydd wedi eu dwyn ger ein bron o bryd i bryd, ynghylch casgliad trysorfeydd mewn rhai cynnadleddau at gynnal yr Henuriaid llywyddol, ac hefyd yr henuriaid teithiol, ystyriwn yn ddoethineb ynom i gyhoeddi ein golygiadau ar y pwnc, a rhoi rhai rheolau cyffredinol er llywodraethu cangenau yr eglwys yn y wlad hon, mewn perthynas i'r ffordd o godi trysorfeydd at y dyben hwn, yn gystal â rhai ereill. Mae cyfeiriadau mynych wedi eu gwneyd at yr hyn a gyhoeddwyd gan y Llywydd Orson Hyde, yn Nghyf. IX. o'r 'Star,' tud. 26. Yr ydym ni yn cyduno â'r Henuriad Hyde, yn mhob peth. Nid ei opiniwn ef, mwy na ninnau, oedd, y gallai gweision Duw fyw heb fwyd a dillad.

Mae Duw wedi rhoi gorchymyn i'w weision na feddyliont ddim am y fory. Gwel Ath. a'r Cyf., iv, 14. "Gan hyny na feddyliwch ddim am y fory, am ba beth a fwytaoch, neu pa beth a yfoch, neu â pha beth y dilledir chwi; oblegid edrychwch ar lili y maes, pa fodd y maent yn tyfu; nid ydynt yn llafurio nac yn nyddu; ac nid yw teyrnasoedd y byd, yn eu holl ogoniant, ddim wedi eu haddurno fel un o'r rhai hyn; canys y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd, yn gwybod fod arnoch chwi eisieu yr holl bethau hyn."

Mae Duw wedi ei wneyd yn ddyledswydd ar y Saint, ac ar bawb y danfonir ei weision atynt, i feddwl drostynt. Gwel Ath. a'r Cyf., iv, 14. "Yr hwn sydd yn eich derbyn chwi, sydd yn fy nerbyn i; ac efe a'ch portha chwi, ac a'ch dillada, ac a rydd arian i chwi. A'r hwn a'ch portha chwi, neu a'ch dillado, neu a

rydd arian i chwi, ni chyll mewn un modd ei wobr: A'r hwn nad yw yn gwneuthur y pethau hyn nid yw yn ddyscybl i mi; wrth hyn yr adwaenwch fy nyscyblion i. Yr hwn nad yw yn eich derbyn chwi, ewch ymaith oddiwrtho yn ddirgel wrthych eich hunain, a golchwch eich traed, hyd y nod â dwfr, dwfr pur, pa un bynag ai mewn gwres ai mewn oerfel, a dygwch dystiolaeth o hyny i'ch Tad yr hwn sydd yn y nefoedd, ac na ddychwelwch mwyach at y dyn hwnw. Ac i ba bentref neu ddinas bynag yr eloch, gwnewch felly. Er hyny, chwiliwch yn ddyfal, ac na arbedwch; a gwae y ty hwnw, neu'r pentref neu'r ddinas hono, a'ch gwrthodo chwi, neu eich gair, neu eich tystiolaeth am danaf fi. Gwae, meddaf etto, i'r ty hwnw, neu'r pentref neu'r ddinas hono, a'ch gwrthodo chwi, neu eich gair, neu eich tystiolaeth am danaf fi. Oblegid myfi, yr Hollalluog, wyf wedi gosod fy nwylaw ar y cenedloedd, i'w ffrewyllu hwynt am eu drygioni," &c., &c.

Rhoddwn yn awr rai cyfarwyddiadau cyffredinol ynghylch codi trysorfeydd at amrywiol ddybenion, fel na fyddo dim camddealltwriaeth ynghylch y mater o hyn allan; ac fel y byddo trefnusrwydd yn y peth yma, yn gystal ag mewn pob peth arall perthynol i lwyddiant eglwysi y Saint yn y wlad hon. Yn y lle cyntaf, bydded trysorfa i'r tlodion gael ei chodi yn mhob cangen yn y modd hyn:—Pob sabbath, yn union ar ol y sacrament, bydded i gasgliad gael ei wneyd tuag at y tlodion, i gael ei alw yn "Drysorfa y Tlodion." Bydded i'r drysorfa hon gael ei rhoddi yn nwylaw rhyw frawd o ymddiried, i'w rhanu allan i'r tlodion, yn ol cyfarwyddyd llywydd a chynghor pob cangen. Mor hyfryd fydd cymmysgu eich elusenau gyda'ch sacramentau.

Heblaw hyn, bydded i drysorfa gyffredinol gael ei chodi yn mhob cangen, at dalu rhent addoldai, &c.; gellir codi y trysorfeydd yn un o'r tair ffordd hyn—yn 1af, trwy gasgliad cyhoeddus (nid ar amser sacrament)—yn ail, trwy ddal dysgl wrth y drws, yr hwn yw y dull cyffredin yn Scotland; ac yn 3ydd, gellir awdurdodi yr athrawon i dderbyn cyfraniadau gwirfoddol y Saint tuag at drysorfeydd y gangen, wrth eu gwaith yn ymweled â'r aelodau; ac os bydd y gangen yn gweled yn addas i benodi rhywfaint gyferbyn â theuluoedd naill ai llywydd y gynnadledd, neu yr henuriaid teithiol, geill cynghor y gangen ddysgu yr athrawon i osod y peth o flaen y Saint a derbyn eu rhoddion, ac ysgrifenu lawr yr enwau a'r swmiau a gyfranir, a'u hysbysu i'r cynghor.

Hefyd, bydded i drysorfa gyffredinol gael ei chodi yn mhob cynnadledd, tuag at gynnal llywydd y gynnadledd a'r henuriaid teithiol, a bydded i bob cangen gyfranu i'r drysorfa hono yn ol rhifedi eu haelodau. Gall yr henuriaid llywyddol, wedi ymgynnull mewn cymmanfa, benderfynu pa swm fydd yn angenrheidiol at y dyben hwn bob chwarter. Dylai y drysorfa hon fod dan reolaeth llywydd y gynnadledd er eu rhanu (tuag at y dybenion y codwyd hi) fel y penderfyno efe yn ei ddoethineb. A'i ddyledswydd ef fydd rhoi mynegiad manwl yn mhob cymmanfa o sefyllfa y drysorfa a'r arian fyddo yn dyfod i'w law. Hefyd, dyledswydd llywydd pob cangen fydd rhoi neu beri rhoi, mewn cwrdd cyffredinol o swyddogion ac aelodau y gangen, yr wythnos o flaen y gymmanfa chwarterol, fynegiad manwl o bob trysorfeydd a godir gan y gangen yn ystod y chwarter. Trwy ddilyn y drefn hon, gall y Saint, yn swyddogion ac aelodau, gael dealltwriaeth drwyadl ynghylch yr holl faterion perthynol i weinyddiad gorchwylion tymmorol y gangen neu'r gynnadledd yn mha un y trigant. Cenedla hyn rinwedd, a rhinwedd a genedla undeb, ac mewn undeb y mae nerth. ORSON PRATT.

[O'r tair ffordd a nodir er codi y trysorfeydd, cynghorem y Cymry i ddewis yr olaf, sef trwy fyned oddiamgylch i dai y Saint, fel y galler ysgrifenu gweithredoedd pob un.—GOL.]

---

## GOFYNIADAU AC ATEBION.

1. PA fodd y dylid bendithio y bara a'r gwin yn yr ordinhad o swper yr Arglwydd?—*E. E.*

Wedi ymgrymu gyda'r eglwys, gweddied yr henuriad neu yr offeiriad fel hyn, uwchben y bara:—"O Dduw, y Tad tragywyddol, yr ydym yn gofyn i ti, yn enw dy Fab, Iesu Grist, i fendithio a santeiddio y bara hwn i eneidiau pob un a gymmero o hono, fel y gallont fwyta er cof am gorff dy Fab, a thystiolaethu wrthyt ti, O Dduw, y Tad tragwyddol, eu bod yn foddlawn cymmeryd arnynt enw dy Fab, a'i gofio yn wastadol, gan gadw ei orchymynion y rhai a roddodd efe iddynt, fel y gallont yn wastadol gael ei Ysbryd ef gyda hwynt. Amen." Drachefn, wedi cymmeryd y cwpan, gweddier fel hyn:—"O Dduw, y Tad tragywyddol, yr ydym yn gofyn i ti, yn enw dy Fab, Iesu Grist, i fendithio a santeiddio y gwin [neu'r dwfr] hwn, i eneidiau pob

un a ŷfo o hono, fel y gallont ei wneuthur er cof am waed dy Fab, yr hwn a dywalltwyd drostynt; fel y gallont dystiolaethu wrthyt ti, O Dduw, y Tad tragywyddol, eu bod yn ei gofio yn wastadol, fel y gallont gael ei Ysbryd i fod gyda hwynt. Amen."

2. Pa un ai y brawd Dr. Levi Richards, neu y brawd William Phillips, yw Llywydd presennol y Saint yn Nghymru?—*P.*

Nid "P." yn unig sydd yn methu deall yr hyn a gyhoeddwyd yn y "Star" a'r UDGORN, mewn perthynas i'r brawd Richards. Dymunwn hysbysu pawb, nad yw y brawd Richards wedi ei ddanfon i lywyddu yn lle yr Henuriad Phillips, ond i ddysgu ac ymgynghori â'r lywyddiaeth, a lle bynag y byddo yn teithio, dros yr amser presennol; a gobeithiwn y gwneir derbyniad groesawus o hono fel y cyfryw yn mhob man, ac y diwallir ei anghenrheidiau. Addewid y Llywydd O. Pratt i'r brawd Phillips, tra yn Liverpool bythefnos yn ol, yn nghlyw amryw, oedd mai efe fuasai y llywydd tra yr arosai yn Nghymru, ac y buasai ei lwyddiant o hyn allan yn fwy nag erioed o'r blaen.

---

## AIL EPISTOL CYFFREDINOL ODDIWRTH SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF.

MAE y "St. Louis Republican," am Ragfyr 28, 1849, yn llefaru am yr epistol uchod fel y canlyn:—

"Dygodd y llythyr-gludiad gorllewinol ddoe i ni gopi argraffedig o'r 'Ail Epistol Cyffredinol,' a ddanfonwyd gan Eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf, yn Nyffryn y Llyn Halen, at "y Saint gwasgaredig ar hyd y ddaear.' Hanes ydyw o sefyllfa y Gymdeithas yn artrefol a thramor, ac yn gyffredinol yn cynnwys pob peth a ellid ystyried yn ddyddorol i aelodau yr Eglwys. Hysbysir fod y cnydau yn rhagorol o dda,—a dywedir nid yn unig fod digon ganddynt i ddiwallu eu hunain, ond hefyd eu brodyr sydd ar y ffordd, hyd y cynauaf nesaf. Maent wedi penderfynu adeiladu tref yn Brownsville, deugain milltir i'r gogledd, ac yn Utah, triugain milltir i'r dwyrain o Ddinas y Llyn Halen, yn mha le y mae sefydliadau wedi eu gwneuthur. Mae Dyffryn y Sand Pitch wedi ei fwriadu yn le arall er ymsefydlu. Mae y Cynghor dy, y baddau yn y Warm Spring House, tŷ mawr ceryg ac ystordy ŷd, oll yn agos eu gorphen. Trefnwyd cynllun i godi trysorfa barhaus, er cynnorthwyo y 'Saint tlodion' i ymfudo i Ddyffryn y Llyn Halen, gan gyflawni yn y modd hyn y cyfammodau yn y deml, fod 'yr holl Saint a orfodwyd i adael Nauvoo, i gael eu gosod mewn rhyw gasgl-fan.' Mae yr holl gynllun mewn gweithrediad.

"Er dangos yr ymdrech mawr a fwriedir wneyd er proselytio, dyfynwn a ganlyn o'r llythyr:—

"'Mae yr holl apostolion yn y Dyffryn wedi eu danfon ar wahanol genadiaethau. Mae yr Henuriad John Taylor, ynghyd â Curtis E. Bolton a John Pack, yn myned i Ffrainc; yr Henuriad Lorenzo Snow yn myned i'r Eidal, a Joseph Toronto gydag ef; yr Henuriad Erastus Snow i Denmarc, yn nghwmni Peter Hanson, a chychwynant yn mhen wythnos, gan fyned trwy y Taleithiau. Bydd yr Henuriad Franklin D. Richards, gyda John S. Higbee, George B. Wallace, Job Smith, H. W. Church, Joseph W. Johnson, Joseph W. Young, a Jacob Gates, yn myned i Lloegr, i gyd-weithredu â'r Llywydd Orson Pratt. Bydd yr Henuriad John Forsgreen yn myned allan yr un amser ar ei genadiaeth i Sweden. O herwydd rhyw ddybenion doeth, bydd danfoniad yr Henuriad P. P. Pratt i'r Ynysoedd Gorllewinol yn cael ei attal hyd y gwanwyn.

"'Mae yr Henuriad Orson Pratt yn gwneyd gwaith mawr yn Lloegr, ac y mae achos y gwirionedd yn myned rhag ei flaen yn gyflym yn mhob cwr o'r wlad; ac y mae gorfoledd y Saint yno yn achosi i Satan gyrhyrfu, o herwydd ei fod yn cael ei orfodi i ymddarostwng i allu goruwch. Mae yr Henuriad Woodruff yn arosol yn Cambridgeport, Massachusetts, ac wedi bod yn cysuro ac addysgu y Saint yn Canada a'r Taleithiau Dwyreiniol yn y flwyddyn ddiweddaf. Os gwna yr Henuriad Woodruff yn awr, gasglu yr holl Saint sydd yn ei gymmydogaethau, a dod â hwynt i'r lle hwn, bydd yn gwneyd gwaith mawr, ac yn agor y ffordd i ymweled â'r cenedloedd hyny ag sydd yn meddu llygaid a chlustiau, ac sydd yn gwaeddi ar Henuriaid Israel, Deuwch, mynegwch i ni bethau Duw, oblegid ni a glywsom fod Duw gyda chwi.'

"Dywed y llythyr hefyd:—'Mae y brawd Parley P. Pratt yn agor ffordd newydd trwy res o fynyddau, o'r Weber i'r lle hwn, yr hon sydd eisoes mor barod fel ag y bydd ymfudwyr yr hydref hwn yn ei theithio. Bydd cryn gost yn myned i orphen y ffordd hon, a bydd o fendith fawr i'r brodyr ymfudol; ac wedi cael pontydd yn y Dyffryn, dros fforch y Weber a'r Ogden, y rhai oll a orphenir cyn y tymmor ymfudol nesaf, lleiheir y pellder a rhwyddheir yn fawr fynediad teithwyr."

Dysgwyliwn y byddwn wedi cael gweled copi o'r Epistol ein hunain erbyn y rhifyn nesaf, pan y gallwn ddweyd ychwaneg yn ei gylch.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR ABERTEIFI.

CYMMANFA y sir hon a gynnaliwyd yn Cellan, ar y 30ain o Ragfyr diweddaf, pan y cynnrychiolwyd pedair o gangenau, yn cynnwys 11 o henuriaid, 8 o offeiriaid, 2 athraw, a 2 ddiacon;

2 wedi eu bedyddio; y cyfanswm yn 61. Rhoddodd Mr. Davies, Trebanau, ei balas i gynnal ein cymmanfa, a gwnaeth boneddigion ereill hefyd eu goreu drosom—Alfred Clark, Llywydd; James James, Ysgrifenydd.

SIR BENFRO.

Cynnaliwyd cymmanfa y sir hon ar y 30ain o Ragfyr, 1849, yn Hwlffordd. Cynnrychiolwyd 11 o gangenau, yn cynnwys 21 o henuriaid, 10 o offeiriaid, 10 o athrawon, a 4 o ddiaconiaid; wedi eu bedyddio, 5; cyfanswm, 162.—John Morris, Llywydd; Daniel Williams, Ysgrifenydd.

SIR DDINBYCH.

Cynnaliwyd cymmanfa y sir hon ar yr 20ain o Ionawr. [Ni ddywedir yn mha le.] Cynnrychiolwyd pedair o gangenau, yn cynnwys 9 o henuriaid, 10 o offeiriaid, 5 o athrawon, a 4 diacon; 18 wedi eu bedyddio er y gymmanfa o'r blaen; un wedi ei dori allan; cyfanswm, 125. Galwyd chwech i swyddi.—John Parry, Llywydd.

SIR FFLINT.

Cynnaliwyd cymmanfa y sir hon yn yr Wyddgrug. [Ni ddywedir pa bryd.] Cynnrychiolwyd pedair o gangenau, yn cynnwys 12 o henuriaid, 7 o offeiriaid, 3 o athrawon; 13 wedi eu bedyddio yn y tri mis diweddaf; y cyfanswm yn 76.—John Davies, Llywydd; Thos. Green, Ysgrifenydd.

---

## AMRYWIAETHAU.

CHWEFROR.—Mae y llais poblogaidd yn pennodi cwrs o eira, gwlaw, a chesair, i'r mis hwn, ac yn ystyried fod agwedd felly arno yn anghenrheidiol, mewn trefn i holl alluoedd lleithder gael eu dyspyddu cyn dechreu Mawrth, pan yr edrychir am dywydd o natur arall. Mae yn wir mai rhew, wedi ei ddilyn gan ddadleithiad rheolaidd, ac wedi hyny gan wyntoedd Mawrth, sydd yn dwyn y ddaear i'r cyflwr mwyaf manteisiol i'w haredig. Cyfartaledd cyffredin y gwres-fesurydd yw 39 o raddau; mewn gwahanol flynyddau amrywia o 32 i 42. Y snowdrop a'r crocus yw prif addurniadau ein gerddi yn y tymmor hwn. Gwna y briallu hefyd flodeuo, a daw'r hepatica allan yn ei nerth. Yn Lloegr mae y gigfran a'r fran yn gwneyd eu nythau; mae gan golomenod y tô eu rhai bach; mae yr ysguthan yn cwynfan-ganu, y pen-

euryn yn odli, a'r bronfreithod yn paru. Yn Scotland, mae nodau y fwyalch a'r fronfraith yn dynodi fod y gwanwyn yn agos.

DADSAIN.—Meddyliai yr henafiaid mai geneth oedd Dadsain, yr hon a dreuliodd ei hunan ymaith gan gariad, nes nad oedd dim ar ol ond llais.

TRYSORFA YMFUDOL.—Dywedir fod Esgob Hunter yn ddiweddar yn Kanesville (neu Council Bluffs) â 6000 o ddolars ganddo, fel blaenffrwyth y drysorfa, yr hon a godwyd yn y Dyffryn trwy roddion gwirfoddol, i'r dyben o brynu ychain, a dwyn y Saint tlodion o'r Bluffs i'r Dyffryn y gwanwyn hwn. Llawenyched y tlodion, canys y mae hyn yn profi fod eu gwaredigaeth yn agosâu.

NEWYDDION O'R DYFFRYN.—Ysgrifena yr Apostol Wilford Woodruff, o Cambridgeport, Massachusetts, dyddiedig Ionawr 14, 1850, gan hysbysu ei fod wedi derbyn copi o'r Epistol, ynghyd â llythyron, oddiwrth y brif-lywyddiaeth yn y Dyffryn; ac yn mhlith pethau ereill, llefara fel hyn:—"Galwant yn uchel arnaf fi i gasglu yr holl Saint yn y wlad ddwyreiniol hon, a'u dwyn i'r Dyffryn yn y gwanwyn. Maent eisieu gweithyddion cotwm a gwlan i ddyfod, a gosod busnes i fyny; hefyd, toddwyr haiarn (*digon o lo ac haiarn mewn lleoedd da*); maent am i ddynion ddyfod yn fuan i'r Dyffryn—ffermwyr a chrefftwyr o bob math. Codant ddigon o wlan mewn un tymmor etto i ddiwallu gweithfa lled fawr. Meddyliant godi sefydliad yn y gwanwyn, y tu deau i'r llyn, lle y gellir cynnyrchu cotwm, rice, a chyrs siwgr. * * Mae Orson Spencer, *Capt. D. Jones*, G. A. Smith, E. T. Benson, a'u cwmnïoedd gyda hwy, wedi cyrhaedd yn iach ac yn ddiangol yn y Dyffryn. Dim trafferth gyda swyddogion y Llywodraeth na'r aur-gloddwyr—pob peth mewn cydweithrediad. Argoelion da hefyd am gael llywodraeth Daleithiol yn y Dyffryn."

GWIRODYDD.—Dywed y "St. Louis Republican," am Rag. 28, fod yn angenrheidiol yn Ninas y Llyn Halen, i bawb sydd yn gwerthu nwyddau, i fynu trwydded; a bod y trwyddedi at werthu gwirodydd yn cyrhaedd i 50 y cant ar y pris gwreiddiol, dyben yr hyn yw attal eu gwerthiad yn hollol.

Y DYN glwth sydd yn byw i fwyta ac i yfed; ond y dyn doeth a chymmedrol sydd yn bwyta ac yn yfed i fyw.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 15.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI, (SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. II.] MAWRTH, 1850. [PRIS 2½g.

## CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1850.

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

☞ Rhybyddiwn "Ymofynydd," a phob gohebwr dienw arall, na wnawn ni sylw o un ohebiaeth o hyn allan os na roddir yr enwau priodol wrthynt.

*Brandi.*—Yn llythyr W. Morgan, yn nhud. 52, dywedir, "Mae brandi yn fuddiol at wresogi yr ystumog pan fyddo yn oer, a'r môr yn ymgynhyrfu." Efallai ei fod; ond ni chynghorem ni neb o'r ymfudwyr i'w ddefnyddio er hyny; canys y mae yn groes i gynghor Duw. Mae llawer o bethau ereill yn well, ac yn llai niweidiol, at wresogi yr ystumog. Wrth gwrs, nad ydym ni yn gyfrifol am farn pawb; canys danfona rhai Saint am ddoctoriaid yn lle henuriaid, gan ddiystyru gorchymyn Iago (pen. v, 14, 15).

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg, yn Merthyr, ar y 7fed o Ebrill; cymmanfa Sir Fynwy, yn Mhenycae, ar y 14eg; cymmanfa Sir Gaerfyrddin, yn Llanelli, yr un pryd; a chymmanfa Sir Faesyfed, ar yr 28ain.

☞ Dymunwn ar ein gohebwyr i fod yn ofalus wrth selio eu llythyron; canys y mae llawer o honynt yn agor eu hunain cyn dyfod i'n llaw. Annogwn bawb i ddefnyddio *wafers*, yn hytrach nâ gwm, cwyr crydd, &c.; a'u gwasgu â selydd mân bigog, os bydd yn gyfleus, neu ag allwedd neu rywbeth arall.

☞ Rhybyddiwn y gwahanol Gynnadleddau rhag twyllwyr, y rhai sydd yn myned oddiamgylch, gan gymmeryd eu bedyddio, &c., er mwyn cael byw ar gefnau y Saint. Na fedyddier dyeithriaid heb brawf ac adnabyddiaeth o honynt yn gyntaf.

☞ Derbynier pob Saint o Loegr a allo ddangos cymmeradwyaeth argraffedig, a'r geiriau "Printed by R. James, Liverpool," ar ei odrau. Rhaid cael papyr felly er myned o Gymru i Loegr hefyd, yr hwn sydd ar werth yma, at bob swyddwr ac aelod; hefyd, Trwyddedi gwahanol swyddogion, yn Gymraeg a Saesneg.

⁂ Aeth Orson Pratt ar fusnes i'r Bluffs, ar y 9fed o Fawrth, a bwriada ddychwelyd tua diwedd Gorphenaf.

YMFUDWYR.—Mae oddeutu cant o enwau, o Sir Gaerfyrddin, wedi eu gyru yma eisoes, er nad yw y taloedd wedi dyfod etto. O hyn allan, dysgwyliwn un geiniog, o leiaf, oddiwrth bob ymfudwr, gyda'i enw a'i rag-dal, er ein cynnorthwyo i dalu am lythyron yr ymfudiad. Bydd hyny yn help, ond nid yn un math o dâl am ein llafur.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 15.] MAWRTH, 1850. [CYF. II.

## PREGETHU I'R YSBRYDION YN NGHARCHAR, A BEDYDDIO DROS Y MEIRW.

YN ngwyneb fod gwahanol sectau yr oes wedi amlygu eu golygiadau ar y ddau bwnc uchod, nid anfuddiol, efallai, fyddai i ninnau, yn enw Saint y Dyddiau Diweddaf, i wneuthur hyny hefyd, nad faint a fydd yr erlidigaeth o'r herwydd. Ystyriwn fod y Cymry yn addfed, bellach, i dderbyn ein golygiadau ynghylch pregethu i'r ysprydion yn ngharchar, ynghyd â bedyddio dros y meirw. Llawer o opiniynau sydd wedi eu cynnyg, ac wedi eu derbyn; ond ychydig iawn o oleuni, hyd yn hyn, sydd wedi tywynu ar y pynciau tywyll uchod.

Yn flaenorol i drin y pregethu a'r bedyddio dan sylw, cawn ddarllen yr hyn a ddywed Esay (lxi, 1, 2), "Ysbryd yr Arglwydd Dduw sydd arnaf; o herwydd yr Arglwydd a'm heneiniodd i efengylu i'r rhai llariaidd; efe a'm hanfonodd i rwymo y rhai ysig eu calon, i gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad *carchar** i'r rhai sydd yn rhwym; i gyhoeddi blwyddyn gymmeradwy yr Arglwydd, a dydd dial ein Duw ni." Etto, cawn ddarllen hefyd y dyfyniadau canlynol:—Salm cxlii, 7—"Dwg fy enaid allan o garchar, fel y molianwyf dy enw: y rhai cyfiawn a'm cylchynant; canys ti a fyddi da wrthyf." Salm lxxix, 11,—"Deued uchenaid y carcharorion ger dy fron: yn ol mawredd dy nerth cadw blant

* Gellir deall pa fath le, i raddau, yw y CARCHAR, neu uffern, trwy ddarllen dammeg y gwr goludog, yn Luc xvi, 19—31.

marwolaeth." Salm cii, 18—22,—" Hyn a ysgrifenir i'r genedlaeth a ddel; a'r bobl a greïr a folianant yr Arglwydd. Canys efe a edrychodd o uchder ei gyssegr: yr Arglwydd a edrychodd o'r nefoedd ar y ddaear; i wrandaw uchenaid y carcharorion, ac i ryddhau plant angeu; i fynegi enw yr Arglwydd yn Seion, a'i foliant yn Jerusalem; pan gasgler y bobl ynghyd, a'r teyrnasoedd i wasanaethu yr Arglwydd." Esay xlii, 7—" I agoryd llygaid y deillion, i ddwyn allan y carcharor o'r carchar, a'r rhai a eisteddant mewn tywyllwch o'r carchardy." Esay xxiv, 22,—" A chesglir hwynt fel y cesglir carcharorion mewn daeardy, a hwy a garcherir mewn carchar, ac yn mhen llawer o ddyddiau yr ymwelir â hwynt."

Yn awr, wedi i Iesu Grist ddyfod i'r byd, yn ol fel y prophwydwyd am dano, yr oedd ei genadwri yn perthyn i lawer dosparth o ddynion, a'i brif ddyben oedd dwyn *pawb* o honynt o deyrnas y tywyllwch, i mewn i deyrnas Dduw. Er fod dynion yn amrywio yn eu sefyllfaoedd, etto nid oedd ond un porth neu ddrws ganddo, trwy yr hwn y gallai pawb, yn mhob man, fyned i mewn i deyrnas y goleuni; ac er dangos hyny, dywedodd, " Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Oddieithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw." Nid yw yn bosibl i neb ddringo un ffordd arall, onide cyfrifir ef yn lleidr neu yspeiliwr. Yn yr amser ag y llefarodd yr Iesu y pethau hyn, gwyddai mai ei waith ef oedd efengylu i'r rhai llariaidd, rhwymo y rhai ysig eu calon, " cyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac *agoriad carchar* i'r rhai sydd *yn rhwym*." Gwyddai fod ysbrydion yn ngharchar oddiar amser Noah, am eu hanufydd-dod, ac fod eisieu cyhoeddi agoriad carchar iddynt. Mae pob carcharor yn droseddwr, ond ni ellir golygu nas gall dalu ei ddyled, pan na fydd ei bechod yn anfaddeuol; ond os bydd ei bechod yn anfaddeuol, ni faddeuir iddo yn y byd hwn na'r byd a ddaw. (Math. xii, 32.) Nis gwyddom ni am neb sydd wedi profi fod y cynddiluwiaid wedi pechu y pechod anfaddeuol, ac nas gellir " dileu eu pechodau pan y delo yr amseroedd i orphwys o olwg yr Arglwydd" (Act. iii, 19). Fod maddeuant i gael ei roddi yn y byd a ddaw, sydd wedi ei benderfynu gan Iesu Grist, mewn geiriau eglur a dealladwy, fel nas gall neb eu gwyrdroi yn llwyddiannus.

Wedi dweyd cymmaint â hyna, cawn ddyfynu y geiriau a welir yn 1 Pedr iii, 18—20, y rhai sydd yn hysbysu i Iesu Grist breg-

ethu i'r ysbrydion yn ngharchar. Y geiriau ydynt—"Oblegid Crist hefyd unwaith a ddyoddefodd dros bechodau, y Cyfiawn dros yr anghyfiawn (fel y dygai ni at Dduw) wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhau yn yr Ysbryd; trwy yr hwn yr aeth efe hefyd ac a bregethodd i'r ysbrydion yn ngharchar; y rhai a fu gynt anufydd, pan unwaith yr oedd hir-amynedd Duw yn aros yn nyddiau Noah, tra y darperid yr arch, yn yr hon ychydig, sef wyth enaid, a achubwyd trwy ddwfr." Mae y dyfyniad yn dangos yn eglur i Grist, tra yr oedd ei gorff yn gorwedd yn y bedd, fyned i fyd yr ysbrydoedd, i gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai oedd yn rhwym. Mae Iesu Grist ei hun hefyd yn profi ei fynediad i fyd yr ysbrydoedd, sef paradwys (nid y nefoedd, fel y tybia rhai), ar y diwrnod y croeshoeliwyd ef, yn yr hyn a ddywedodd wrth y lleidr—"Yn wir, meddaf i ti, heddyw y byddi gyda mi yn *mharadwys*" (Luc xxiii, 43). Os mai y nefoedd a feddylir wrth y baradwys hon, yna nid oedd Crist yn sicr o'i bwnc pan y dywedodd "heddyw" wrth y lleidr; o herwydd fe ddywedodd wrth Mair, ar foreu y trydydd dydd, "Na chyffwrdd â mi; canys ni ddyrchefais i etto at fy Nhad," yr hwn, wrth gwrs, sydd yn y *nefoedd*. Rhaid i ni ddweyd fod Crist yn cyfeiliorni, neu addef fod paradwys a nefoedd yn leoedd gwahanol. Gwell genym ni gredu Iesu Grist, iddo fyned i baradwys, at yr ysbrydion, ar ddydd ei groeshoeliad; ac i'r nefoedd, at ei Dad, wedi ei adgyfodiad, fel y tystia yr ysgrythyrau. Heblaw hyn, y mae ymadroddion yn mhregeth Pedr, ar ddydd y Pentecost, yn profi tuhwnt i bob dadl, i enaid neu ysbryd Crist fod ryw amser yn "uffern," neu garchar yr ysbrydion. Llefara fel hyn—"Ac efe (sef Dafydd) yn rhagweled, a lefarodd am adgyfodiad Crist, na adawwyd ei enaid [neu ei ysbryd] ef yn uffern, ac nas gwelodd ei gnawd [neu ei gorff] ef lygredigaeth" (Act. ii, 32). Beth sydd yn eglurach na'r gair a'r dystiolaeth, ynghylch y pynciau hyn? Gobeithio nad oes neb yn barotach i wrandaw ar ddynion yn gwyrdroi yr ysgrythyrau, er dal i fyny eu hopiniynau, nag ar y rhai sydd yn eu defnyddio megys y maent yn ysgrifenedig. Yn awr, dywedir i Grist, "wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhau yn yr Ysbryd; trwy yr hwn [sef yr Ysbryd Glân] yr aeth EFE hefyd [nid Noah, na neb arall, ond Crist], ac a bregethodd i'r *ysbrydion yn ngharchar*; y rhai a fu *gynt* anufydd, pan unwaith yr oedd hir-amynedd Duw yn aros yn nyddiau Noah,

tra y darperid yr arch." Mae yn wir mai trwy Ysbryd Duw, neu yr offeiriadaeth, y pregethodd Noah i'r cyn ddiluwiaid; ac y mae yn wir hefyd iddynt fod yn anufydd, ac i Dduw, ar ol ei hir-amynedd tuag atynt, beri eu boddi o ran eu cyrff, a'u carcharu o ran eu hysbrydoedd; ond nid yw yn wir iddo "EFE," sef Crist, bregethu iddynt yn amser Noah, onide gellir dweyd hefyd mai Crist oedd yn pregethu ar ddydd y Pentecost, pan oedd Pedr, trwy yr Ysbryd, yn argyhoeddi y tair mil. Paham nad Crist ei hunan sydd i'w olygu pan y dywedir iddo "bregethu i'r ysbrydion yn ngharchar, yn gystal â phan y dywedir iddo "bregethu i'r dyscyblion ar y mynydd?" Oni chyfaddefir fod ysbrydion yn wrthddrychau deallgar? ac os felly, paham nad allai Crist, o ran ei ysbryd, bregethu iddynt pan y bu yn mharadwys neu uffern, yn gymmaint ag i Esay brophwydo, ei fod i "gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai sydd yn rhwym?" Y gwir yw, "aeth *efe* hefyd ac a bregethodd i'r *ysbrydion yn ngharchar*, y rhai a fu gynt anufydd" pan y bu Noah yn pregethu iddynt. Pan yr oeddynt yn y corff ar y ddaear y pregethodd Noah iddynt, ond pan oeddynt yn *ysbrydion* yn ngharchar y pregethodd Iesu Grist iddynt. Yn awr, dichon y gall rhyw barchedig ofyn "cwestiwn anatebadwy," yn ei dyb ef, yn y man hyn; sef, Paham y darfu i Grist bregethu i'r ysbrydion a fu yn anufydd yn amser Noah, yn fwy nag i ysbrydion ereill a fu yn anufydd cyn a chwedi hyny? O, hunan ddoethyn! oni wyddost ti fod carcharorion lawer, a bod rhai yn talu eu dyled yn gynt nâ'u gilydd; ac am hyny, nas gellir cyhoeddi agoriad carchar i bawb yr un pryd? Cafodd "y rhai a fu gynt anufydd" eu carcharu oll yr un pryd, ac am yr un trosedd; ac yn nyddiau croeshoeliad Iesu Grist yr ymddengys eu bod hwy wedi talu eu "ffyrling eithaf," onide nid elai yr Iesu atynt i bregethu rhyddid ac agoriad carchar. Mae llawer o ysbrydion yn ngharchar etto, "ac yn mhen llawer o ddyddiau (efallai) yr ymwelir â hwynt." Rhaid i bawb gael clywed yr efengyl, naill ai yn y byd hwn, neu yn y byd arall; "canys er mwyn hyny yr efengylwyd i'r *meirw* [neu yr ysbrydion] hefyd, fel y bernid hwy yn ol dynion yn y *cnawd*, ac y byddent fyw yn ol Duw yn yr ysbryd" (1 Pedr iv, 6). Ond gan mai yr ysbryd yw y rhan ddeallgar o ddyn, fe welwn y priodoldeb o ymresymiad yr apostol ynghylch yr anghenrheidrwydd o efengylu i ysbrydion a amddifadwyd tra yn y cnawd o

glywed yr efengyl, fel y gallent " fyw yn ol Duw yn yr ysbryd," ac i gymmeryd eu barnu yn y dydd diweddaf fel dynion wedi clywed yr efengyl tra yn y cnawd. Yn awr, dyweded ein gwrthwynebwyr beth a fynont, mae yn eglur ddigon fod yr athrawiaeth uchod yn ysgrythyrol, dwyfol, cyfiawn, ac mor deilwng o'i Hawdwr, ag un athrawiaeth arall o'i eiddo.

Yn gyssylltiedig anwahanol â phregethu i ysbrydion yn ngharchar, y perthyna " *bedyddio dros y meirw.*" Nid yw o fawr lesâd argyhoeddi dynion nac ysbrydion, os na ellir eu bedyddio er maddeuant o'u pechodau; canys " oddieithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw." Er i Grist bregethu i'r ysbrydion yn ngharchar, etto os nad oedd wedi trefnu ffordd i'w bedyddio, yr oedd y cyfan yn ofer, yn ol ei eiriau ei hunan—" Y neb a gredo ac a *fedyddier*, a fydd cadwedig." Ond y mae genym achos i lawenhau fod yr ysgrythyrau yn dangos y gallwn ni ar y ddaear, gymmeryd ein bedyddio dros y meirw sydd yn credu o bryd i bryd yn myd yr ysbrydoedd, o herwydd nad yw yn alluadwy i weinyddu yr ordinhad yno, megys yma. Yn 1 Cor. xv, gwelwn fod Paul yn ymresymu â'r Corinthiaid ynghylch adgyfodiad y meirw, o herwydd fod rhai yn eu plith yn ammau yr adgyfodiad. Dywed Paul, " Os y meirw ni chyfodir, ni chyfodwyd Crist chwaith," " ac ofer yw ein pregeth ni, a'ch ffydd chwithau ;" ac yn adn. 29, 30, dywed hefyd, " Os amgen, beth a wna y rhai a *fedyddir dros y meirw*, os y meirw ni chyfodir ddim ? paham ynte y bedyddir hwy dros y meirw ? A phaham yr ydym ninnau mewn perygl bob awr ?" Yr oedd y Corinthiaid oll wedi credu unwaith yn mhregeth Paul, adgyfodiad Crist, ac yn y ddysgeidiaeth ynghylch bedyddio dros y meirw (am ddysgu yr hon byddai yr apostol " mewn perygl bob awr ;)" ond etto yr oedd rhai yn eu plith am wadu adgyfodiad y meirw ; ac er mwyn argyhoeddi y cyfryw, dadleuai yr apostol, os nad oedd adgyfodiad i fod, na chyfododd Crist chwaith, ac nad oedd ei bregeth ef, na'u ffydd hwythau, yn gystal â'u bedyddiad dros y meirw, o un gwerth—fod y cwbl yn ofer, ac mai gwell oedd bwyta ac yfed, ac yna marw ! Nid oes sôn fod neb o'r Corinthiaid yn ammau yr athrawiaeth o fedyddio dros y meirw, ond yn unig adgyfodiad y corff ; canys yr oedd bedyddio dros y meirw yn beth ag y parhaent i'w gyflawni ar y pryd yn yr eglwys, fel y gallwn ddeall wrth yr iaith ; ac yr oedd Paul mewn " perygl bob

awr" am ei phregethu. Ni chaniatäai efe athrawiaeth felly yn eu plith, na'u gadael i fedyddio neb dros y meirw, oni bai fod hyny yn unol ag ewyllys Duw, ac yn orchymynedig. Fe wyddai Paul am y gadwyn ogoneddus sydd yn cyssylltu nefoedd a daear, yr hon sydd yn attal y ddaear rhag cael ei tharo â melldith. Gwyddai fod eisieu "troi calon y tadau at y plant, a chalon y plant at eu tadau," yr hyn ni allai gael ei ddwyn oddiamgylch heb fedyddio dros y meirw. Ymddengys oddiwrth eiriau Paul, nas gall trigolion y byd arall gael eu perffeithio hebom ninnau (Heb. xi, 40), na ninnau hebddynt hwythau. Mae pawb oddiar Adda yn dal cyssylltiad â'u gilydd, ac y mae gan bawb eu gwaith i gyflawni, a'u gwaith i orphen. Gellir ystyried y rhai a fedyddir dros y meirw, yn waredwyr i'r meirw hyny, gan eu bod yn eu rhyddhau ar y ddaear o'u pechodau; o herwydd, "yr hyn a rwymir ar y ddaear, a rwymir yn y nefoedd hefyd." Efallai mai at hyny y cyfeiria Obadiah, pan y dywed, "A GWAREDWYR a ddeuant i fyny ar fynydd Seion, i farnu mynydd Esau [sef eu "barnu yn ol dynion yn y cnawd"]; a'r freniniaeth fydd eiddo yr Arglwydd;" sef pan "lenwir y ddaear o wybodaeth gogoniant yr Arglwydd, fel y töa y dyfroedd y môr." Mae Duw yn amlygu pwy sydd yn *credu* yn y byd arall, ac wedi apwyntio bedyddfan yn ei deml er gweinyddu yr ordinhad o fedydd drostynt ar y ddaear. Cyn credu hyn, rhaid credu fod Duw yn dadguddio yn yr oes hon, yr hyn yn wir yw y gwirionedd.

O, mor hyfryd yw y meddwl fod ein hen dadau parchus, y rhai a fuont feirw heb glywed yr efengyl, mewn cymmaint gobaith o gael eu hachub etto, â phe byddent ar y ddaear yn awr. Gwna Duw alw ar "bawb yn mhell"—mor bell â byd yr ysbrydoedd, a chaiff pob creadur gynnyg ar waredigaeth, os na fydd wedi pechu yn anfaddeuol. Ei etholedigion Ef a gesglir o bob man, trwy'r nefoedd a'r ddaear, a than y ddaear; ac ni chaiff un carchar ei gau, nas deuir allan o hono, naill ai i ryddid, neu i'r ail farwolaeth, lle y bydd mwg eu poenedigaeth yn esgyn i fyny yn oes oesoedd. Cyfiawn yw Duw, a chyfiawn hefyd yw yr athrawiaethau gogoneddus hyn a amlygwn i'r byd; a dywedwn, wrth derfynu, na fu dim erioed yn addasach na'r rhain i wisgo yr enw o "newyddion da o lawenydd mawr."

**Moliannwn oll ein Tad sydd fry, am wrandaw llef y caeth,**
**A dwyn y rhwym o'r carchar du, i seinio newydd iaith.**

# DARLITHIAU JOSEPH SMITH AR FFYDD.

## DARLITH III.

Yr ydym wedi dangos yn yr ail ddarlith, pa fodd y daeth gwybodaeth o fodoliaeth Duw i'r byd, a thrwy ba foddion y cyflwynwyd y drychfeddyliau cyntaf i feddwl dynion fod y fath fôd yn ddiau yn bodoli; ac mai trwy y wybodaeth am ei fodoliaeth y cafwyd sail i weithredu ffydd ynddo, fel yr unig fôd yn yr hwn y gallai ffydd ganolbwyntio am fywyd ac iachawdwriaeth ; o herwydd ni allai ffydd ganolbwyntio mewn bod nad oes genym un meddylddrych yn ei gylch, canys y mae meddylddrych am ei fodoliaeth yn y lle cyntaf, yn hanfodol er gweithredu ffydd ynddo. Rhuf. x, 14. "Pa fodd gan hyny y galwant ar yr hwn ni chredasant ynddo? a pha fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano? a pha fodd y clywant heb bregethwr" (neu un wedi ei ddanfon i ddweyd wrthynt)? Felly, ynte, mae ffydd yn dyfod trwy glywed gair Duw. Cyfieithad newydd.

Gwnawn sylwi yma fod tri pheth yn anghenrheidiol, cyn y gall un bod rhesymol a gwybodus weithredu ffydd yn Nuw er cael bywyd ac iachawdwriaeth.

Yn gyntaf, y meddylddrych o'i fod yn gwirioneddol fodoli.

Yn ail, meddylddrych cywir am ei gymmeriad, ei berffeithrwydd, a'i briodoleddau.

Yn drydydd, gwybodaeth drwyadl fod y dull o fywyd ag y mae ef yn ddilyn, yn unol â'i ewyllys. Oblegid heb adnabyddiaeth o'r tair ffaith bwysig hyn, bydd raid fod ffydd pob bod rhesymol yn anmherffaith a diffrwyth: ond gyda'r dealltwriaeth hyny, geill ddyfod yn berffaith a ffrwythlawn, yn llawn cyfiawnder, er clod a gogoniant i Dduw y Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist.

Wedi dyfod yn adnabyddus o'r ffordd y daeth y meddylddrych am ei fodoliaeth i'r byd, yn gystal â'r ffaith am ei fodoliaeth, awn yn mlaen i sylwi ar ei gymmeriad, ei berffeithrwydd, a'i briodoleddau, fel y gallo'r dosparth yma weled, nid yn unig y tir sydd ganddynt i weithredu ffydd ynddo ef, er bywyd ac iachawdwriaeth, ond y rhesymau a all yr holl fyd hefyd, mor bell ag y mae y meddylddrych am ei fodoliaeth wedi cyrhaedd, feddu er gweithredu ffydd ynddo ef, yr hwn yw Tad pob peth byw.

Megys ag yr ydym wedi bod yn ddyledus i ddadguddiad a roddodd Duw o hono ei hun i'w greaduriaid, yn y lle cyntaf, am

y meddylddrych o'i fodoliaeth; felly yn yr un modd yr ydym yn ddyledus i'r dadguddiadau a roddodd efe i ni am ddealltwriaeth gywir o'i gymmeriad, ei berffeithderau, a'i briodoleddau; oblegid, heb y dadguddiadau a roddodd efe i ni, nis gallai un dyn trwy chwilio gael allan Dduw. Job xi, 7, 8, 9. 1 Cor. ii, 9, 10, 11. "Eithr fel y mae yn ysgrifenedig, Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn, y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef; eithr Duw a'u heglurodd i ni trwy ei Ysbryd; canys yr Ysbryd sydd yn chwilio pob peth, ïe, dyfnion bethau Duw hefyd. Canys pa ddyn a edwyn bethau dyn, ond ysbryd dyn yr hwn sydd ynddo ef? Felly hefyd, pethau Duw nid edwyn neb, ond Ysbryd Duw."

Wedi dweyd cymmaint â hyna, awn yn mlaen i sylwi ar y cymmeriad a roddodd y dadguddiadau o Dduw.

Mae Moses yn rhoddi yr hanes canlynol yn Exod. xxxiv, 6. "A'r Arglwydd a aeth heibio o'i flaen ef, ac a lefodd, Jehofa, Jehofa, y Duw trugarog, a graslawn, hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd a gwirionedd." Salm ciii, 6, 7, 8. "Yr Arglwydd sydd yn gwneuthur cyfiawnder a barn i'r rhai gorthrymedig oll. Hysbysodd ei ffyrdd i Moses; ei weithredoedd i feibion Israel. Trugarog a graslawn yw yr Arglwydd, hwyrfrydig i lid, a mawr o drugarogrwydd." Salm ciii, 17, 18. "Ond trugaredd yr Arglwydd sydd o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb, ar y rhai a'i hofnant ef, a'i gyfiawnder i blant eu plant, i'r sawl a gadwant ei gyfammod ef, ac a gofiant ei orchymynion i'w gwneuthur." Salm xc, 2. "Cyn gwneuthur y mynyddoedd, a ffurfio o honoch y ddaear a'r byd, hyd y nod o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb, chwi ydych Dduw." Hebreaid i, 10, 11, 12. "A chwychwi, Arglwydd, yn y dechreuad a sylfaenasoch y ddaear; a gwaith eich dwylaw chwi yw y nefoedd: hwynt-hwy a ddarfyddant, ond chwychwi sydd yn parhau; a hwynt-hwy oll fel dilledyn a heneiddiant; ac megys gwisg y plygwch chwi hwynt, a hwy a newidir; ond chwychwi yr un ydych, a'ch blynyddoedd ni phallant." Iago i, 17. "Pob rhoddiad daionus, a phob rhodd berffaith, oddi uchod y mae, yn disgyn oddiwrth Dad y goleuni, gyda'r hwn nid oes gyfnewidiad, na chysgod troedigaeth." Mal. iii, 6. "Canys myfi yr Arglwydd ni'm newidir; am hyny, ni ddyfethwyd chwi, meibion Jacob."

Llyfr Gorchymynion, pen, ii, yn dechreu yn y drydedd linell

o'r rhan-ymadrodd cyntaf. "Oblegid nid yw yr Arglwydd yn rhodio ar hyd llwybrau ceimion, nac ychwaith yn troi ar y deheu na'r aswy, nac yn gwyro oddiwrth yr hyn y mae wedi ddweyd; am hyny, mae ei lwybrau yn uniawn, a'i yrfa yn un cylchdro tragywyddol." Llyfr Gorchymynion, pen. xxxvii, 1. "Gwrandewch ar lais yr Arglwydd eich Duw, hyd y nod Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd, gyrfa yr hwn sydd yn un cylchdro tragywyddol, yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd."

Numeri xxiii, 19. "Nid dyn yw Duw, i ddywedyd celwydd; na mab dyn, i edifarhau." 1 Ioan iv, 8. "Yr hwn nid yw yn caru, ni adnabu Dduw; oblegid Duw, cariad yw." Actau x, 34. "Yna yr agorodd Pedr ei enau, ac a ddywedodd, Yr wyf yn deall mewn gwirionedd, nad ydyw Duw dderbyniwr wyneb; ond yn mhob cenedl, y neb sydd yn ei ofni ef, ac yn gweithredu cyfiawnder, sydd gymmeradwy ganddo ef."

Oddiwrth y tystiolaethau blaenorol dysgwn y pethau canlynol mewn perthynas i gymmeriad Duw.

Yn gyntaf, ei fod ef yn Dduw cyn i'r byd gael ei greu, ac mai yr un Duw oedd efe wedi iddo gael ei greu.

Yn ail, ei fod ef yn drugarog a graslawn, hwyrfrydig i lid, a llawn daioni, a'i fod ef felly o dragywyddoldeb, a bydd hyd dragywyddoldeb.

Yn drydydd, nad ydyw yn cyfnewid, ac nad oes troedigaeth yn perthyn iddo; ond mai yr un ydyw o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb, yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd; a bod ei yrfa yn un cylchdro tragywyddol, heb un gwyrad.

Yn bedwerydd, ei fod yn Dduw geirwir, ac nas gall fod yn gelwyddog.

Yn bummed, nad yw ddim yn dderbyniwr wyneb; ond yn mhob cenedl, y neb sydd yn ofni Duw, ac yn gweithredu cyfiawnder, sydd gymmeradwy ganddo ef.

Yn chwechfed, mai cariad yw.

Mae adnabyddiaeth o'r priodoleddau hyn yn y cymmeriad dwyfol, yn anhebgorol angenrheidiol, mewn trefn i ffydd unrhyw fod rhesymol allu canolbwyntio ynddo ef am fywyd ac iachawdwriaeth. Oblegid, os na chredai, yn y lle cyntaf, ei fod ef yn Dduw, hyny yw, creawdwr a chynnaliwr pob peth, nis gallai ganolbwyntio ei ffydd ynddo ef am fywyd ac iachawdwriaeth, rhag ofn y byddai i rywun mwy nag ef groesi ei holl drefniadau,

ac y buasai yntau, fel duwiau y paganiaid, yn analluog i gyflawni ei addewidion; ond pan welir ei fod yn Dduw dros bawb, o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb, yn greawdwr a chynnaliwr pob peth, nis gall y fath ofn fodoli yn meddwl y rhai hyny sydd yn gosod eu hymddiried ynddo, ac felly yn y peth hwn gall eu ffydd fod yn ddianwadal.

Ond yn ail; oni buasai ei fod ef yn drugarog a graslawn, yn hwyrfrydig i lid, hir-ymarhous, a llawn daioni, y fath ydyw gwendid y natur ddynol, ac mor fawr ydyw breuder ac anmherffeithrwydd dynion, fel oni bai eu bod yn credu fod y rhagoriaethau hyn yn bodoli yn y cymmeriad dwyfol, ni allai y ffydd angheurheidiol er iachawdwriaeth byth fodoli; o herwydd cymmerai ammheuaeth le ffydd, a byddai y cyfryw sydd yn ymwybodol o'u gwendid a'u sefyllfa agored i bechu, mewn ammheuaeth barhaus ynghylch iachawdwriaeth, oni buasai y meddylddrych a feddant am ragoroldeb cymmeriad Duw, ei fod yn hwyrfrydig i lid ac yn hir ei amynedd, ac o natur faddeugar, ac yn maddeu anwiredd, camwedd, a phechod. Mae meddylddrych o'r ffeithiau hyn yn symud ymaith ammheuaeth, ac yn gwneyd ffydd yn neillduol o gryf.

Ond y mae yr un mor anghenrheidiol fod gan ddynion y meddylddrych o'i fod yn Dduw anghyfnewidiol, er mwyn cael ffydd ynddo, ag ydyw cael y meddylddrych o'i fod yn raslawn ac yn hir-ymarhous; o herwydd heb y meddylddrych o anghyfnewidioldeb yn nghymmeriad y Duwdod, cymmerai ammheuaeth le ffydd. Ond pan yn meddu y meddylddrych nad yw yn gyfnewidiol, y mae ffydd yn cydio gafael ar y rhagoriaethau sydd yn ei gymmeriad gydag ymddiried diysgog, gan gredu ei fod ef yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd, a bod ei yrfa yn un cylchdro tragywyddol.

Ac etto, mae y meddylddrych o'i fod yn Dduw geirwir a digelwyddog, yr un mor anghenrheidiol er gweithredu ffydd ynddo â'r meddylddrych o'i anghyfnewidioldeb. Oblegid heb y meddylddrych o'i fod yn Dduw geirwir a digelwyddog, nid allai yr ymddiried anghenrheidiol yn ei air, er gweithredu ffydd ynddo, byth fodoli. Ond trwy feddu y meddylddrych nad dyn ydyw, i ddywedyd celwydd, y mae yn rhoi gallu i feddyliau dynion i weithredu ffydd ynddo.

Ond y mae yn anghenrheidiol hefyd fod gan ddynion y meddyl-

ddrych nad ydyw ef yn dderbyniwr wyneb, oblegid er meddu y meddylddrych o'r holl ragoriaethau ereill yn ei gymmeriad, a'r un hon yn eisieu, nis gallai dynion weithredu ffydd ynddo ef; o herwydd pe byddai yn dderbyniwr wyneb, nis gallent ddweyd beth fyddai eu breintiau, na pha fodd yr awdurdodwyd hwynt i weithredu ffydd ynddo, neu pa un a awdurdodwyd hwynt i wneyd hyny erioed, eithr byddai raid fod y cyfan yn ddyryswch; ond nid cynt y mae meddyliau dynion yn dyfod yn adnabyddus o'r gwirionedd ar y pwynt hwn o'i fod yn ddidderbyn wyneb, nag y gwelant fod ganddynt awdurdod trwy ffydd i ddal gafael ar fywyd tragywyddol, rhodd fwyaf y nef, o herwydd nid yw Duw dderbyniwr wyneb, a bod pob dyn yn mhob cenedl yn meddu yr un ragorfraint.

Ac yn ddiweddaf, ond nid y lleiaf pwysig er gweithredu ffydd yn Nuw, yw y meddylddrych mai cariad yw; oblegid er meddu yr holl ragoriaethau ereill yn ei gymmeriad, heb yr un hon i ddylanwadu arnynt, nis gallent gael y fath lywodraeth rymus ar feddyliau dynion; ond pan fyddo y meddylddrych wedi ei blanu yn y meddwl mai cariad yw, pwy nad all weled y tir cyfiawn sydd gan ddynion o bob cenedl, llwyth, ac iaith, er gweithredu ffydd yn Nuw, fel ag i gyrhaedd bywyd tragywyddol.

Oddiwrth y desgrifiad uchod o gymmeriad y Duwdod, a roddir iddo yn y dadguddiadau i ddynion, fe welwn fod sylfaen gadarn er gweithredu ffydd ynddo ef yn mhlith pob pobl, cenedl, a llwyth, o oes i oes, ac o genedlaeth i genedlaeth.

Gadewch i ni sylwi yma mai y blaenorol yw y cymmeriad a roddir i Dduw yn ei ddadguddiadau i Saint y dyddiau gynt, ac mai hyny hefyd yw y cymmeriad a roddir iddo yn ei ddadguddiadau i Saint y Dyddiau Diweddaf, fel ag y mae saint y dyddiau cyntefig, a rhai y dyddiau diweddaf, yr un fath yn y peth hyn; medda Saint y Dyddiau Diweddaf gystal seiliau i weithredu ffydd yn Nuw, â Saint y dyddiau gynt, oblegid yr un cymmeriad a roddir iddo i'r naill a'r llall.

---

## Y DONIAU YSBRYDOL A'R SAINT.

Mewn llawer o gangenau, ystyria y Saint nad ydynt byth yn cael cyfarfodydd da, oddieithr fod llawer o ddoniau ynddynt. Dywedodd un brawd wrthym ni unwaith, ar ol ein bod yn

athrawiaethu a dysgu am gryn amser mewn cwrdd Saint, mai eisieu cael eu *hadeiladu* oedd arnynt hwy yno, o herwydd eu bod yn weiniaid! Er mwyn peidio eu rhwystro a'u gwangaloni y tro hwnw, caniatasom iddynt lefaru â thafodau dyeithr wrth eu gilydd, a chyfieithu, yr hyn a ystyrient hwy yn fwy o adeiladaeth, nag a roddasem ni yn y iaith Gymraeg. Nid oedd eisieu athrawon, efengylwyr, nac apostolion, ar yr ychydig hyny, er eu hadeiladu, os gallent gael digon o ddoniau, yn neillduol llefaru â thafodau. Mae y mwyrif o'r Saint, efallai, yn gwybod yn amgenach nâ'r rhai hyny, ond nid ydynt yn gwybod yn agos digon. Gormod sydd yn cael ei wneyd o'r doniau mewn llawer man. Llawer un a glywir yn dweyd, wedi dyfod allan o gyfarfod y Saint, "Dyna gwrdd da a gawsom ni heddyw;" nid o herwydd dim a ddysgodd y bugeiliaid, ond o herwydd yr hyn a lefarwyd trwy y doniau am farnedigaethau dychrynllyd, &c. Yn awr, ni ddylai hyn fod: yr ydys trwy hyny yn gwrandaw mwy ar y traed, nag ar y pen. Y tafodau yw y rhoddion lleiaf yn yr eglwys; a'r offeiriadaeth uchaf yw y mwyaf. Mae yn ddiystyrwch, ynte, ar roddion Duw, fod y Saint yn gwrandaw mwy ar beth a ddywed y tafodau, nag ar yr hyn a lefaro llywydd y gangen. Ai nid mynych y gwelir rhai yn hanner cysgu, pan fyddo y swyddog yn eu dysgu a'u hadeiladu; ac yn neidio i fyny, megys o gysgadrwydd, yn union pan ddechreuo y doniau. Beth mae hyny yn arwyddo? Arwyddo mai y doniau yw eu hathraw hwy, ac nad oes dim yn werth ei glywed ond a ddelo trwy y doniau. Mae y "traed" yn ddigon iddynt hwy; a dywedant, yn eu hiaith, wrth y llygad a'r llaw, Nid rhaid i ni wrthych. Ond odid nad oes rhai Saint yn cymhell mwy ar y byd i ddyfod i wrandaw ar eu traed, nag ar eu pen, eu llygad, neu eu llaw; o herwydd eu bod yn credu mai y traed sydd i fod yn uchaf, ac i gyfarwyddo yr holl gorff. Mae y penau, yn lled gyffredin, yn gogwyddo gormod tuag at gred y traed, ac yn rhy barod i roddi yr awdurdod i fyny iddynt. Nis gellir beio cymmaint ar y traed, oblegid mai y penau a osodwyd i lywodraethu arnynt, a'u dysgu i adnabod eu lle; ac os ydyw y penau yn dysgu y traed i flaenori, yna y penau sydd i'w beio. Dysged y penau yn wahanol o hyn allan, mai hwy sydd yn derbyn fwyaf o ddoethineb er dysgu y Saint yn mhob peth, ac nid y doniau neu'r traed. ☞ Adnabydded pob dawn ei lle: cymmered

y doniau eu llywodraethu gan yr offeiriadaeth, ac nid yr offeiriadaeth gan y doniau. Mae y tafodau a'r prophwydoliaethau yn dda yn eu lle, eithr yn niweidiol iawn allan o'u lle. Dylai y prophwydo, yn gystal â'r cyfieithu, fod "yn ol cyssondeb y ffydd;" ac nid prophwydo na chyfieithu mo honynt, os na fyddant hwy felly. Mae yr holl ddoniau i'w harferyd ar gylch, yn ol cyfarwyddyd yr henuriaid llywyddol; ac ni ddylai neb o'r Saint ystyried eu bod yn "tristâu Glân Ysbryd Duw" wrth fod yn ddystaw, pan y dysgir hwynt i fod felly. Ofnwn fod mwy yn tristâu yr Ysbryd wrth lefaru gormod, nag wrth lefaru rhy fach, yn enwedig os bydd rhyw blantach annoeth wrth y gorchwyl. Yr hwn sydd wedi derbyn fwyaf o ddawn doethineb yw y goreu er ymarfer y doniau ysbrydol. Nid pob un sydd yn teimlo yr Ysbryd yn gorphwys arno, sydd yn meddiannu digon o ddoethineb i gyfieithu neu brophwydo yn ol cyssondeb y ffydd; ond, er hyny, ni all neb brophwydo na chyfieithu heb yr Ysbryd. Mae yr hwn sydd yn meddu doethineb, yn llefaru a phrophwydo er adeiladaeth, a chynghor, a chysur: nid yw byth yn arfer geiriau ofer ac afreidiol, eithr yr hyn a roddir iddo ar y pryd gan yr Ysbryd. Nid yw y cyfryw, serch hyny, byth yn treulio y cyfarfod i glywed ei hunan; canys gwell ganddo glywed ereill hefyd, naill ai yn tystiolaethu, athrawiaethu, canu, gweddio, llefaru â thafodau, cyfieithu, prophwydo, canu â'r ysbryd ac a'r deall, neu weddio â'r ysbryd ac â'r deall. Ychydig iawn sydd yn meddu digon o ddoethineb i gysuro yr eglwys â'u caniadau â'r ysbryd a'r deall: mae eisieu gweddio arnynt am gael mwy o'r awen i waered. Yr ydym yn cael arddeall fod rhy fach o weddio yn nghyfarfodydd y Saint: nid oes dim yn fwy dymunol na gweled brawd yn myned ar ei ddeulin, wedi hysbysu ei ddymuniad, a gweddio yn gyhoeddus am rywbeth angenrheidiol, a'r Saint oll yn eu lleoedd yn cydweddio yn ddirgelaidd. Mae y ddawn o weddio â'r ysbryd ac â'r deall hefyd yn ddiffygiol yn llawer o'r eglwysi. Ymdreched y Saint yn mhob man am fwy o amrywiaeth, fel y byddo pawb yn cael eu hadeiladu, ac nid carwyr y tafodau yn unig.

Dylai llywyddion y cangenau fod yn ddoeth iawn wrth lywyddu cyfarfodydd y Saint, na byddont yn porthi nwydau pobl y byd. Os deallir fod llawer wedi dyfod yno yn unig er mwyn cael arwyddion, byddai yn well pregethu yr egwyddion cyntaf

iddynt; apheidio byth apwyntio yn mlaen llaw un cwrdd Saint i arfer y doniau, eithr cymmeryd eu harwain gan eu doethineb, yn ol yr amgylchiadau ar y pryd. Na lefarer â thafodau er mwyn boddio cywreinrwydd neb, eithr yn unig er mwyn llefaru wrth Dduw, neu wrth ryw estron na allai ddeall Cymraeg neu Saesneg; onide, naturiol fyddai i'r annysgedig a'r digred o'n plith ein hunain, ddweyd ein bod yn ynfydu, o herwydd na fyddent hwy yn ein deall. Dysger yr holl Saint i ddeisyf y doniau goreu, sef cariad, doethineb, a gwybodaeth, ac ymdrechu yn fwy cyffredinol i adeiladu y naill y llall yn eu hiaith eu hunain; ac os bydd rhywun yn llefaru â thafodau, gweddier am gael cyfieithad, fel y byddo pob peth yn cael eu wneyd er adeiladaeth.

Nid oes lle gan y byd i wawdio doniau ysbrydol y Saint, pan fyddo y Saint yn eu harferyd mewn doethineb. Nid yw Ysbryd Duw yn arwain neb i lefaru yn wyllt neu yn uchel, eithr yn naturiol ac yn araf—annoethineb y dyn yw hyny. Pan lefarer yn rheolaidd mewn tafodau, nid oes mwy o reswm gan y byd i wawdio, nag sydd ganddynt pan yn clywed Ffrancwr, neu ryw estron arall, yn siarad mewn iaith mor anadnabyddus iddynt hwy, â'r hyn a lefarir mewn tafodau dyeithr. Tra parhäo y byd i wawdio y tafodau anadnabyddus yn yr oes hon, profant y gwnelent yr un peth pe clywent y tafodau anadnabyddus yn eglwys Corinth hefyd; canys ni fyddent yn deall y naill mwy na'r llall. Gwawdio wnai y byd bryd hyny, ac felly y gwna yn awr, ond yn unig fod y byd yn awr yn credu fod y tafodau na ddeallid gynt o Dduw, a'r tafodau na ddeallir yn awr o'r diafol. Os mai efelychu y Saint cyntefig a wna Saint y Dyddiau Diweddaf, ac os mai efelychu yr olaf a wna y byd yn bresennol; yna mae y naill blaid, fel y llall, yn dynwaredu yr hyn a lefarid gan yr Ysbryd yn y dyddiau gynt,—y Saint yn ei wneyd mewn difrifoldeb, a'r byd mewn gwawd. Gobeithiwn na wrandawa un dyn synwyrol ar ddynion yn gwawdio doniau Duw, canys wrth wneyd hyny y mae yn cyfranogi o'r pechod, ac yn drygu ei hunan. Dysged y Saint i fod yn amyneddgar a digyffrous, a gadael y swyddogion i ddiwygio pob annhrefn ac anghydfod, gan weddio yn barhaus am Ysbryd Duw i'w harwain i bob gwirionedd. Os gwrandawant arnom, ni fyddant yn ol o gael eu bendithio.

## "NA WNA ODINEB."

O HERWYDD troseddiadau a *gau* ddysgeidiaeth rhai o *blant Belial* ar y pwnc uchod, y mae meddyliau llawer wedi eu tywyllu, ac o herwydd troseddiadau yr ydys yn cablu y gwirionedd; yr ydym ni, gan hyny, yn ei ystyried yn ddoethineb ynom i gyhoeddi ein golygiadau ar y pwnc hwn.

Y mae yn beth godinebus yn ngolwg y nefoedd, i wrryw a benyw fyned at eu gilydd, os na fyddant wedi eu priodi yn gyfreithlawn a rheolaidd. Mae dymuniad y rhywiau, y naill at y llall, yn naturiol, ac wedi ei drefnu at ddybenion doeth—fel y gallai'r ddaear gael ei phoblogi, ac fel y gellid agor ffordd i ddyn i fyned i'w ail ystad yn ngradd-ddringfa dyrchafiad. A oes dyn yn nheyrnas Dduw, sydd â'i feddwl heb ei dywyllu gan chwantau ansantaidd, nad yw yn gweled ar unwaith yr anghenrheidrwydd, yr anhebgorol anghenrheidrwydd, o reoleiddio boddhad y dymuniadau gan gyfraith, fel y byddo cenedlaethau SEION yn cael eu cenedlu yn bur a chyfreithlawn?

Cafodd y gyfraith ei rhoddi i ddyn yn nyddiau boreuaf ei fodoliaeth—ei hail-adrodd o amser i amser—ei sefydlu a'i chadarnhau gan daranau Mynydd Sina; tystiolaethodd Mab Duw am ei gwirionedd; ac yn ddiweddaf oll, y mae wedi ei thraethu i ni yn y dyddiau diweddaf hyn trwy y prophwyd Joseph. Mathew v, 8, —" Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd i chwi, fod pob un a'r sydd yn edrych ar wraig i'w chwennychu hi, wedi gwneuthur eisoes odineb â hi yn ei galon." Gwel hefyd Lyfr Mormon, tud. 460, " Gwae y dyn hwnw a'r ddynes hono, ag sydd wedi dyfod i wybodaeth o'r gwirionedd, a wnelo ymhalogi, neu ddyoddef eu hymhalogi." Gwel Doctrine and Covenants, sec. xx, par. 4,—" Yr oedd yn eich plith chwi odinebwyr a godineb-wragedd; rhai o honynt sydd wedi troi ymaith oddiwrthych, ac ereill sydd yn aros gyda chwi, y rhai a ddadguddir ar ol hyn. Gocheled y cyfryw, ac edifarhaent ar frys, rhag i farnedigaethau ddyfod arnynt fel magl, a'u ffolineb gael ei amlygu, a'u gweithredoedd i'w canlyn hwynt yn ngolwg y bobl." Par. 5,—" Ac yn wir, meddaf i chwi, fel ag y dywedais ô'r blaen, fod yr hwn sydd yn edrych ar wraig i'w chwennychu hi, neu os cyflawna rhywun odineb yn ei galon, ni dderbyniant yr Ysbryd, eithr gwadant y ffydd ac ofnant; am hyny y dywedais i, yr Arglwydd, y byddai'r ofnog a'r digred, a'r

holl gelwyddwyr, a phwy bynag sydd yn caru ac yn gwneuthur celwydd, a'r puteinwyr, a'r swyn-gafareddwyr, â'u rhan yn y llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan; yr hwn yw yr ail farwolaeth. Yn wir, meddaf, ni chânt hwy ran yn yr adgyfodiad cyntaf."

Rhybyddiwn y Saint yn daer rhag pawb, nid yw wahaniaeth pa beth fyddo eu sefyllfa, ag a geisiant droseddu cyfraith purdeb, neu a gymmerant arnynt ddirymu y gyfraith trwy gau ddysgeidiaeth. Gwel Llyfr Mormon, tud. 105, "O, y doeth a'r dysgedig, a'r cyfoethog, y rhai sydd yn ymchwyddo yn malchder eu calonau, a'r holl rai hyny sydd yn pregethu athrawiaethau gau, a'r holl rai sydd yn puteinio, ac yn gwyrdroi ffordd uniawn yr Arglwydd; gwae, gwae, gwae fydd iddynt, medd yr Arglwydd Dduw Hollalluog, o herwydd gwthir hwynt lawr i uffern." Gallem wneyd llawer yn ychwaneg o ddyfyniadau o air Duw, yn uchel gondemnio y pechod o odineb, ond gobeithiwn fod y blaenorol yn ddigon i argyhoeddi pob un nad yw wedi ymroddi yn gwbl i drythyllwch, fod pob peth sydd â thuedd at hyny ddim o Dduw, eithr oddi isod.

Mae yn dra anghenrheidiol i ni fel pobl i daflu heibio bob pechod ac aflendid, fel y gallom fwynhau gwenau ein Tad Nefol. Cenedlaeth ddrwg a godinebus yw hon, ac y mae digofaint yr Arglwydd wedi ei ennyn yn erbyn y byd, oblegid puteindra a ffieidd-derau ereill; ac os ydym *ni* am ochelyd y plaau a'r dinystriau sydd oddeutu cael eu tywallt ar yr holl genedloedd, rhaid i ni droi ymaith oddiwrth ddrygioni a glynu wrth gyfiawnder. Ac yr ydym yn gorchymyn yn ddifrifol, i holl Saint y Dyddiau Diweddaf, yn gymmaint ag nad ydynt am ddyfod dan drosedd eu hunain, i beidio ymdrechu cysgodi a chuddio i fyny weithredoedd drwg godinebwyr, puteinwyr, a godineb-wragedd. Trythyllwch yw ysbryd llywodraethol yr oes yn mha un yr ydym yn byw, ac y mae ei ganlyniadau ar gymdeithas yn tueddu yn gyntaf i anfoesoli, ac yna i ddinystrio, yr holl gynllun cymdeithasol.

Mae yn dda genym i allu dweyd mai yn dra anfynych y mae'r pechod o odineb yn dygwydd yn ein plith fel pobl; etto y mae enghreifftiau o hyny wedi dygwydd; ac yr ydym yn awyddus i weled y Saint hyd y nod yn fwy selog dros weithredoedd da a dyscyblaeth lem, nes achosi troseddwyr i grynu. O hyn allan, os bydd unrhyw wrryw neu fenyw yn gwybod am ryw Henuriad, Offeiriad, Athraw, Diacon, neu Aelod, yn ymdrechu hudo neu

arwain ymaith unrhyw fenyw, priod neu sengl, yn neu allan o'r eglwys, eu dyledswydd fydd gwneyd hyny yn hysbys i lywydd y gynnadledd yn mha un y byddo'r troseddwr yn byw. Gwneler hyny mewn ysgrifen, gydag enwau y tystion wrthi. Os adnabyddir fod llywydd cynnadledd yn euog o'r un trosedd, dymunem ar y sawl fyddai yn wybodus o'r ffaith, i'n hysbysu ni mewn ysgrifen wedi eu harwyddo ganddynt hwy eu hunain, gan ofalu bob amser na fyddo y mater yn cael ei hysbysu i'r eglwys, nes y byddo yr achos wedi ei farnu gan y rhai sydd yn meddu llywodraeth drosto, a'r person yn cael ei brofi yn euog. Dymunwn hefyd gyfeirio sylw pawb sydd yn edrychol dros gangenau a chynnadleddau, at y dyfyniad canlynol o ddadguddiadau Duw ynghylch godinebwyr a godineb-wragedd, y rhai a geisiant ddyfod i'r eglwys:—

"Wele, yn wir, meddaf i chwi, pa bersonau bynag yn eich plith, a fyddo wedi troi ymaith eu cymdeithion o achos godineb, neu mewn geiriau ereill, os tystiolaethant ger eich bron mewn pob gostyngeiddrwydd calon mai felly y mae, na throwch hwynt allan o'ch plith; ond os ffeindiwch fod unrhyw bersonau wedi gadael eu cymdeithion er mwyn godineb, a hwynt-hwy eu hunain yn droseddwyr, a'u cymdeithion yn fyw, troer hwynt allan o'ch plith. Ac etto dywedaf wrthych, byddwch wyliadwrus a gofalus, gyda phob ymchwiliad, na dderbynioch y cyfryw i'ch plith, os byddant yn briod; ac os na fyddant yn briod, cânt edifarhau am eu holl bechodau, neu ni ehewch eu derbyn hwynt." Gwel Doctrine and Covenants, sec. xiii, par. 20.

Gwyn fyd y dyn a ymegnio ddyfod yn wybodus o gyfraith ei Dduw, ac a'i cadwo, ac a ddysgo ereill i wneyd yr un modd, o herwydd ni fydd yn anffrwythlawn nac yn ddigynnyrch, ond caiff ei ddigoni yn rhagoroldeb gwybodaeth ei Arglwydd a'i Iachawdwr Iesu Grist.

Yr ydym hefyd wedi clywed fod rhai yn dadleu, "nad yw o un gwahaniaeth pa beth a wnelo personau, os na fydd tyst o'r ffaith, oblegid ni ddygir coffadwriaeth o'r mater gerbron yr Arglwydd, am nad oes neb yn eu cyhuddo hwynt." Clywsom am lawer opiniwn drygionus a ffol, ond rhaid i ni gyfaddef fod y blaenorol yn baeddu y cwbl. Fod unrhyw ddyn yn feddiannol ar synwyr cyffredin, neu â goleuni gwirionedd wedi tywynu yn ei feddwl, yn gallu, am fynyd, feithrin y fath dyb gyfeiliornus, sydd yn wir

ryfedd. Rhybyddiwn bob Sant y Dyddiau Diweddaf i edifarhau a throi ymaith oddiwrth y fath egwyddor enaid-ddinystriol, o herwydd mai oddiwrth elyn pob cyfiawnder y mae wedi deillio. Ni wna yr Arglwydd byth adael ei hun yn ddidyst. Mae yr Ysbryd Glân yn gwybod pob peth, a thystiolaetha am bob peth wrth y *Tad*; ac yn ol geiriau yr *Iesu*, y caiff pob peth ei ysgrifenu. Gwel Llyfr Mormon, tud. 487, "Ac wele, ysgrifenir pob peth gan y *Tad*; gan hyny, allan o'r llyfrau a ysgrifenir y bernir y byd."

ORSON PRATT.

---

## Y FANER GENEDLAETHOL.

HENFFYCH i'r dydd, am dano bydd
Hir ganu a choffâu,
Am hyn y mae angylion Duw,
A'r Saint, yn llawenhau;
O herwydd ca'dd y Saint y fraint
O godi'r faner fawr,
Er gwahodd pob rhyw lwyth ac iaith,
Sy'n troedio daear lawr,
I ddod i Seion, gwlad y Saint,
O bedwar cwr y byd;
Addawodd Duw y ca'i ei blant
I hon eu casglu'n nghyd.
Chwennychodd y prophwydi cu,
Medd Iesu wrth ei Saint,
Gael gwel'd y pethau welsoch chwi,
A phrofi'r hyfryd fraint:
Chwennychodd apostolion Crist
Gael gwel'd y faner gu,
Yr hon sy'n chwifio yn y gwynt,
Ac yn ein dyddiau ni.
Ein brodyr Joseph, Brigham Young,
Ac apostolion Duw,
A ga'dd y fraint o godi hon,
Er gwahodd dynol ryw.

Yn awr mae Duw yn casglu'i blant
O bedwar cwr y byd,

I ddod i Seion, gwlad y Saint,
I lawenhau ynghyd:
Chwibanu y mae ef yn awr
Ar bawb o ddynol ryw,
Ac os y clywant hwy ei lais,
Diau y byddant byw;
Ac yna'n ddiau hwy a ddo'nt
Ar frys i'r noddfa glyd;
O bell y deuant ar y dw'r,
Mewn llongau, rhag y llid.

A bendigedig fyddo Tad
Ein Harglwydd Iesu Grist,
Am drefnu ffordd i gael ei blant
I ffwrdd o Babel drist;
Cyn hir y canwn ninnau'n iach
I Babilon dylawd;
Awn tua Seion mewn mawr sêl,
Gan adael teulu'r gwawd;
Cawn gwmni apostolion Duw,
A phob rhyw swyddog Saint;
O fewn i California deg,
Cawn feddu'r cyfryw fraint.

*Fflint.* THOMAS CONWAY, IEU.

---

## GOFYNIADAU AC ATEBION.

1. GOFYNA y byd paham y rhodda y Saint "eu bara i'r cwn, a'u gemau i'r moch," gan gyfeirio at ymarferiad y Saint o'u doniau ysbrydol o flaen y byd. Pa beth a feddylir wrth fara y plant a'r gemau, a'r cwn a'r moch?—*Ymofynydd.*

Pan ddaeth gwraig o Ganaan at ein Harglwydd i ddweyd fod ei "merch yn ddrwg ei hwyl gan gythraul," ac i ofyn ei gymhorth, atebodd iddi, "Ni'm danfonwyd i ond at ddefaid colledig tŷ Israel;" "nid da cymmeryd bara y plant, a'i fwrw i'r cŵn;" a "gâd yn gyntaf i'r plant gael eu digoni. (Gwel Math. xv, 22—28; Marc vii, 25—30.) Hithau a atebodd yn ol, "Etto y mae'r cenawon dan y bwrdd yn bwyta o friwsion y plant." Groeges oedd y wraig hon, ac felly nid oedd hi yn un o'r plant,

eithr un o'r cwn. Yr Iuddewon oedd y plant, a rhaid oedd eu diwallu hwy o flaen y cwn. Yr oedd pob Iuddew, da neu ddrwg, yn blentyn; a phob cenedl-ddyn, da neu ddrwg, yn gi. Bara y plant oedd yr hyn a roddai Iesu Grist i'r Iuddewon; a bara hefyd oedd y wraig o Ganaan yn geisio ganddo, yr hyn a gafodd dan yr enw o friwsion. Mae y plant wedi cael eu digoni er ys llawer dydd, ac yn awr mae y cwn yn cael eu bara oddiar amser Cornelius y cenedl-ddyn. Mynai Pedr y plentyn beidio rhoi dim i'r ci hwnw; eithr gorchymynodd Duw na fuasai un gwahaniaeth i fod rhwng Iuddew na chenedl-ddyn o hyny allan, na rhwng y plentyn na'r ci. Os cafodd y cwn freintiau y plant, gallant yn rhwydd wisgo yr un enw; ond y mae rhai cwn yn awr heb freintiau, yn gystal ag oedd rhai plant heb freintiau yn mhlith yr Iuddewon, o herwydd eu hanghrediniaeth. Yr ydym ni yn foddlawn i'n cyd-gwn gael ein briwsion a'n bara, os derbyniant hwynt trwy ffydd; ac os boddlonant ar y briwsion, "mawr yw eu ffydd." Os mai y doniau ysbrydol yw y bara, nis gallwn ni eu rhoddi i'r byd; ond gall y byd ein gweled yn eu defnyddio, fel ar ddydd y Pentecost: er hyny, mae pob peth a feddwn yn perthyn i "bawb yn mhell," os derbyniant hwynt.—Mae y gemau a'r moch i'w hesbonio yn yr un modd. Y sawl sydd yn meddu gemau neu fara, ac am eu rhoddi i ereill, gofaled pwy fyddo yn eu cael; canys y mae'r ddiareb a ddefnyddiai Iesu Grist yn ddefnyddiol iawn etto.

2. Os dywedodd Iesu Grist, "Paham yr ydych chwi yn gofalu am ddillad?" pa wahaniaeth beth a fyddo ei weision yn wisgo yn yr oes hon? Pa fodd y mae cyssoni eich awgrymiad chwi yn UDGORN Ionawr, tud. 14, ag eiddo Iesu Grist?—*Cymro.*

O, chwi o ychydig ffydd! Methasoch ein deall ni a Iesu Grist. Pan fyddo y "Cymro" yn myned allan heb bwrs nac ysgrepan, i ymddibynu ar Dduw am ddillad, pan yn pregethu, gwisged a gaffo, bydded ddu neu goch, yn ol fel yr awgryma Iesu Grist; ond tra fyddo yn ennill ei fara fel arall, ac yn cadw pwrs at ei eisieu, pryned y dillad mwyaf dylanwadol, yn ol fel yr awgrymasom ni. Nid yw y naill gynghor, mewn un modd, yn croesi y llall: mae pob un yn ei le. Ond y mae cynghor Iesu Grist, efallai, trwy ei wneyd, yn sicrhau gwell a harddach dillad, na'n cynghor ni; canys "ystyriwch lysieuyn y maes," yr hwn a wisgwyd yn fwy gogoneddus na Solomon: "os dillada

Duw felly lysieuyn y maes, yr hwn sydd heddyw, ac y fory a fwrir i'r ffwrn, oni ddillada efe chwi yn hytrach o lawer." (Math. vi, 28—30.)

---

## CYNNADLEDD GYFFREDINOL NEILLDUOL.

CYNNALIWYD y gynnadledd gyffredinol uched dros Gymru, yn Neuadd y Cymreigyddion, yn Merthyr, ar yr 8fed o Fawrth, 1850, lle yr oedd yn bresennol y Llywydd W. Phillips, John Davis, Thos. Pugh, David John, amryw lywyddion cangenau, ynghyd ag oddeutu cant o wahanol swyddogion, heblaw Saint.

Cynnygiwyd gan W. Phillips, ac eiliwyd gan Thomas Pugh, fod y brawd John Davis i fod yn brif gynghorydd dros Gymru. Cariwyd yn unfrydol.

Cynnygiwyd gan W. Phillips, ac eiliwyd gan J. Davis, fod y brawd Thomas Pugh i fod yn is gynghorydd dros Gymru, ac i lywyddu dros gynnadleddau y Gogledd. Carriwyd yn unfrydol.

Cynnygiwyd gan W. Phillips, ac eiliwyd gan Thos. Pugh, fod Evan Williams i fod yn Llywydd ar Gynnadledd Orllewinol Morganwg, yn lle Thomas Pugh. Cariwyd yn unfrydol.

Cynnygiwyd gan W. Phillips, ac eiliwyd gan Thomas Pugh, fod William Evans o Rymni, i fod yn llywydd ar Gynnadledd Sir Feirionydd, yn lle Eliezer Edwards, gan y caniatêir i hwnw ymfudo y tro nesaf, a theithio trwy y cynnadleddau hyd hyny: Cariwyd yn unfrydol.

Cynnygiwyd gan W. Phillips, ac eiliwyd gan John Davis, fod John Argust i fod yn llywydd ar Gangen Ynysgou, Merthyr, yn lle John Davis. Cariwyd yn unfrydol.

Cynnygiwyd gan W. Phillips, ac eiliwyd gan y brawd David John, fod John Roberts i fod yn llywydd ar gangen Georgetown, yn lle David John, fel y gallo efe roddi mwy o'i wasanaeth fel cynghorwr dros y gynnadledd.

WILLIAM PHILLIPS, *Llywydd.*
JOHN DAVIS, *Ysgrifenydd.*

---

## LLYTHYR O FFRAINC.

*Boulogne, Ffrainc, Chwef.* 23, 1850.

ANWYL FRODYR W. PHILLIPS A J. DAVIS,—Cychwynais ar fy nhaith tua chyfandir Ffrainc, ar yr 8fed o Chwefror. Yr oedd

amgylchiadau mewn cyssylltiad â'r gweithfeydd glo, yn gwneyd pethau yn dra thywyll yn Aberdar; etto, rhaid oedd ymadael, a gadael fy nheulu o dan nawdd y Nef; oblegid fod y gwaith yn fawr a'r amser yn fyr, am fod yr Arglwydd wedi penderfynu ei gwtogi mewn cyfiawnder, er mwyn ei anwyl rai. Gwybod yr wyf mai nid amser hepian a chysgu ydyw hwn; ond mai gwyn fyd y gwas hwnw, yr hwn pan ddel yr Athraw, a geir yn ffyddlawn ar ei ychydig, oblegid fe'i gosodir ar lawer, yn ei fynedfa i mewn i lawenydd ei Arglwydd. Yn mhlith pethau ereill, y mae arwyddion a sefyllfa pethau yn y wlad hon yn profi hyn. Gwlad ddefosiynol iawn ydyw hon, fel yna; yr un ysbryd sydd yn y fam yma, ag sydd yn ei merched gyda chwi. Dirywiad hollol oddiwrth burdeb yr efengyl; troseddu ei chyfreithiau, newid ei hordinhadau; anwiredd yn amlhau, cariad yn lleihau; arweinwyr crefyddol y bobl â'u serch arnynt eu hunain, yn ariangar, yn ymffrostwyr, yn feilchion, yn angharedig, yn enllibaidd, yn anfwyn, yn ddiserch i'r rhai da, &c.; o herwydd hyn y mae calonau y miliynau yn merwino o'i mewn, yn llesgâu gan ofn, yn methu cael cysur, oblegid gormes a thrais, blinder, a thywyllwch ar bob tu. Gobeithio y byddant ddoethion, ac y gwrandawant ar hyfryd lais yr efengyl fwyn, ac y deuant i rodio o dan lewyrch gwyneb Duw; yna gwyn eu byd.

Treuliais yr 11eg yn nghwmni y Saint yn Llundain. Yn ngwyneb y dystryw sydd yn dechreu gordoi y byd, rhyfedd ydyw gorfoledd y bobl sydd wedi dianc o fagl sectariaeth yr oes, ac wedi dyfod i wybodaeth o'r gwirionedd, fel ag y mae yn yr Iesu; a thrwy hyny yn mwynhau arweiniad goleuni dadguddiedigaethau Duw, a'i ddoniau nefawl, trwy ddylanwadau dysgeidiaeth y Dyddanydd ysbrydol. O, mor ddedwydd y treuliais y dydd yn mhlith Saint prif ddinas y byd. Yn yr hwyr, am saith, cefais y fraint o gyfarfod, mewn cynghor, â degau o swyddwyr teyrnas y gareg, a â yn fuan yn fynydd mawr, ac a leinw y byd â gogoniant Duw. Galwyd arnaf i ddechreu y cyfarfod trwy weddi, ac wedi hyny i anerch y cynghor. Yr oedd y newyddion o bob cwr i'r ddinas, yn cynnwys llwyddiant concwest arfogaeth gwirionedd Mormoniaeth, sydd yn destun cân engyl Duw, ac yn wrthddrych dychryn ac arswyd y gau anonest ei galon. Tystiodd un brawd ei fod wedi cymmeryd meddiant o un o demlau y Bedyddwyr, yn dŷ cwrdd i'r Saint yn nghanol y ddinas, a lle cyfleus i'r swyddwyr

fedyddio cannoedd bob dydd, os bydd eisieu. Bendithion llwyddiannus Duw Joseph ac Hyrum fyddo yn gyssylltiedig â'u llafur, i ennill prif ddinas y ddaear i deyrnas Iesu, medd fy nghalon. Wedi ysgwyd llaw â'r brodyr oll, dechreuais innau gychwyn tua'r agerddlong, ar fy nhaith wrthyf fy hun, tua'r ddinas tu draw i'r môr, mewn gwlad estronol, wedi ei rhwymo gan fwy o faglau y diafol nag un wlad dan haul; a'r gwaith a draddodwyd i mi i w wneyd, yw dattod y clymau, er gwaethaf dannedd y llew rhuadwy, a holl bicellau tanllyd ei weision ffyddlawn.

Cyrhaeddais Boulogne ganolddydd dydd Mawrth, a gwthiais fy hun i blith plant Wesley yn *lodger*, heb ddweyd dim fy mod yn *Latter-day Saint*. Tref hardd ydyw Boulogne, yn cynnwys dros naw mil ar hugain o drigolion (29,145), 120 milltir o Gaerludd. Dranoeth, wedi cael y nwyddau o'r Custom-house, dechreuais y frwydr, trwy godi baner y gwirionedd, a gosod ei saethau llymion i chwarae yn ngwahanol deuluoedd yr heolydd. Ac O, yr iwbwb gymmerodd le. Unodd y dref megys un llaw a chalon, yn erbyn y gau Brophwyd; galwyd ar yr eglwys Wesleyaidd i gyd ynghyd, a lliaws heblaw, nos Sul; aeth y parchedig i'r pwlpud yn brysur dros ben, darllenodd gyda rhyw sobrwydd dychrynedig y geiriau yn yr ail bennod o Epistol Paul at y Colossiaid, a'r 4, 8, 16, 11, 21—23 adnodau; wedi gweddio ar i Dduw gadw y praidd oddiwrth fleiddiaid a gau-athrawon, &c., cymmerodd ei destun yn mhlith dystawrwydd y gynnulleidfa, yn 1 Cor. xv, 58, "Be—*steadfast—unmovable*." Treuliodd tuag awr o amser i draddodi un o'r pregethau mwyaf cyfrwys a dichellgar a glywais erioed; llawer llygad syllodd arnaf, pan yr oedd yn cyfeirio at gau athrawiaeth y gau-brophwyd oedd newydd ddyfod i'w plith. O, mor llawen y teimlais fy hun, wrth feddwl fy mod yn rhydd oddiwrth ei waed, ac effeithiau ei bregeth; canys yr oeddwn wedi bod yn ei dŷ yn cynnyg i'r boneddwr "The Kingdom of God," ac yn taer ddymuno cael siarad ychydig ag ef, yr hyn a wrthodwyd mewn cyssylltiad â'r atebiad, "ei fod yn gwybod digon am y mater."

Wedi dychwelyd adref, yr oedd un o brif foneddigion y lle, campwr Boulonge mewn dadleuaeth, gelyn perffaith Mormoniaeth, yn fy aros, ac ereill gydag ef! Gwir fod ei ysbrydoedd fel Mesmerism, yn dylanwadu arnaf; ond trwy gymhorth Ysbryd Duw, mewn atebiad i weddiau'r Saint ar fy rhan, cefais y fraint o'i

orchfygu ar bob tir, am dair noswaith, nes o'r diwedd aeth i nwydau drwg, cauodd ei ddwrn, a gwaeddodd gydag ereill am gael gweled gwyrthiau; ar hyn codais, ac aethum o'u plith. Glynais wrth yr egwyddorion cyntaf, ac ni allasai y presennolion lai nâ gweled mor rhwydd yr oeddwn yn medru dyrysu y dyn. Er gwaethaf oll, y mae genyf "The Kingdom of God" mewn hanner cant o deuluoedd yn Boulogne. Fy'm serch atoch, anwyl frodyr, ynghyd â'r swyddwyr a'r Saint oll.

WM. HOWELLS.

---

## DIRWESTIAETH.

"A YDYW yn drosedd neu yn bechod, i un o'r Saint ardystio yr ardystiad Dirwestol, gyda'r Babiloniaid?" Gofynir hyna i ni gan un Daniel Phillip. Atebwn fod pob un o'r Saint wedi eu galw i ryddid, a gallant ardystio neu beidio; ni throseddant wrth wneyd, nac wrth beidio. Mae Dirwestiaeth yn sobri ei miloedd, ac yn llesoli ei channoedd; ac y mae yn gwneuthur ei rhan i adferyd dynolryw; llwydd iddi. Ond pa beth ydyw i'w chymharu â'r Efengyl dragywyddol, yr hon sydd yn cyfrif dirwest yn beth anwahanol oddiwrthi? Os oes eisieu adferyd y byd, cefnoger y cynllun perffaith a chyflawn a ordeiniodd Duw, ac nid dynion, i'r pwrpas hwnw. Buom yn Ddirwestwyr yn hir ein hunain; ond yn awr, diolch i Dduw, yr ydym yn Saint, a meddwn apostolion, prophwydi, &c., i'n perffeithio, fel nad oes arnom anghen un gymdeithas arall er adferu corff nac enaid. Mae yr efengyl ei hunan, heb eisieu "llawforwyn" dynion, yn ddigonol i bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl; ac os na sobrir hwynt gan yr efengyl, sobrir hwynt gan "dân fflamllyd" yn nyfodiad Crist. Gadawn ni fel hyn i bawb farnu drostynt eu hunain, ac i bob un fod yn sicr yn ei feddwl ei hun.

---

## "*DIC*" Y PARCH. D. REES, LLANELLI.

NID all y Parch. D. Rees, Llanelli, yn ei fyw â bod yn llonydd yn nghylch y Saint, na chadw ei hunan rhag cael ei ddal yn barhaus yn cyhoeddi anwireddau noeth am danynt. Ystyrir ef yn ddyn call iawn yn gyffredin; ond y mae ei weithredoedd ar droion, yn tystio fel arall. Wele yn canlyn ystori arall o'i waith ef, allan o *Ddiwygiwr* Chwefror:—

"Y SAINT.—Bu rhyw dwrw mawr yn ngyfarfod y saint yma dydd Saboth diweddaf (Ion 27), yn ol fel yr adroddai un o honynt ag oedd yno. Daeth *Dic* yno, ac ymaflodd yn un o honynt, ond ni chlywsom pa un ai sant neu santes, a gwasgodd ef neu hi nes oedd fel ystyllen; ac oni buasai fod David Williams, a brawd arall yno, yn medru coleru yr hen lanc, mae yn debyg y buasai yn myned ymaith yn glwt ag un neu ychwaneg o'r frawdoliaeth hon, os nad aethai â phen y tŷ yn y fargen. Paham mae *Dic* mor hoff o gyfarfod y saint? A ydyw ef yn teimlo fod rhai o honynt yn gwneud dipyn yn rhy ëon ar ei fawrhydi, a ddywed ef, 'Yr Iesu a adwaen, a Phaul a adwaen, ond pwy ydych chwi.' Nid pell, dybygem, yw Evan o'i le.

"Beth yw seintiau crefydd Mormon?
Onid cwter chwydfa'r byd,
Tomen scybion yr eglwysi,
Gwartheg culion Phar'o 'nghyd;
Melldith teulu, plâ cym'dogaeth,
Llwyth yn rhegu llwythau Duw,
Gweision enllib, deistiaid diras,
Us cymdeithas, pryfed byw.
"Chwain pigfeinion, clerach llwydion,
Ffryndiau calon sugno gwa'd;
Cwn yn cyfarth dyn y lleuad,
Mwrddwyr cariad, llun eu tad;
Cwm'ni llymrig *forge* celwyddau,
Gwybed annwn dimai'r chwart,
Clwb y cacwn, ffair gwehilion,
Siop ynfydion—dyna *smart*."

"*O'r dref draw.* "EVAN."

Mae yr ystori ragorol uchod yn cael ei gwirio, dybygem, yn ol dull celwyddwyr, gan un "W. D., Llanelli," yn yr *Haul* am Fawrth diweddaf, lle y dywedir fel hyn:—

"Y MORMONIAID.—Mae rhyw ystwr dirfawr gan Saint y Dyddiau Diweddaf, yn Llanelli, sir Gaerfyrddin. Maent wedi cyfodi capel rhwng capeli y Bedyddwyr a'r Independiaid; a mawr yw y castiau a chwareuant yno ar brydiau. Un nos Sabboth yn ddiweddar, ymwisgodd un o honynt ar lun yr ysbryd drwg, a dau gorn a chynffon fawr ganddo. Ni wyddai ond ychydig o'r Saint am ei ddyfodiad; am hyn bu cryn derfysg ac ofn ar lawer o honynt. Cymmerodd Diabolus y fantais ar hyn, a chwareuodd ei ystranciau ar hyd y llawr, gan siglo ei gynffon a tharo ei draed yn arswydus; ac ni wyddys pa fodd y terfynai yr olygfa, oni buasai fod un o'r Apostolion yn bresennol, yr hwn a barodd i'w fawrhydi Satanaidd ffoi allan â gair o'i enau."

Yn awr, anwyl ddarllenwyr, pwy a gredwch, Mr. Rees neu W. D.? Nid oes un o honynt yn dweyd iddynt hwy fod yno. Mae

Mr. Rees yn credu pob peth a glywo yn erbyn y Saint, bydded mor afresymol ag y byddo. Credodd unwaith fod Joseph Smith wedi gwisgo ar lun colomen gymmaint â cheffyl, er twyllo ei fedyddiedigion mai yr Ysbryd Glân oedd yno! a bod colomen yn cael ei gollwng i waered o nen ty cwrdd yn America, i bigo gwenith o glustiau pregethwr Mormonaidd, er twyllo y gynnulleidfa i gredu mai yr Ysbryd oedd yn llefaru trwyddo! Do, argraffodd Mr. Rees hyny fel gwirionedd, yn ei gyhoeddiad diwygiadol!

Ond, i ddangos hurtwch Mr. Rees ynghylch y "*Dic*" a ddaeth i gyfarfod y Saint yn Llanelli, dyfynwn ran o lythyr y brawd Dafydd Williams dan sylw atom y mis hwn, fel y canlyn:—

"Yr wyf yn sicrhau wrthych mai anwiredd, heb un gradd o sail iddo, yw yr hyn a ymddangosodd yn y *Diwygiwr*. Dafydd Williams, Mynydd (gynt o'r Llwyni), oedd yn llywyddu y diwrnod hwnw; a'r *diafol* penaf a welwyd yno oedd UN O ARGRAFFWYR y *Diwygiwr*!! Aeth hwn allan yn anfoesol, a thynodd y ddôr ar ei ol mor chwyrn, nes yr oedd yr holl adeilad yn dadseinio! Pan ymddangosodd y dernyn uchod, dywedid yn gyffredin mai Dafydd Williams, Felinfoel, a feddylid; yr oedd hyn yn rhesymol, gan nad oedd un swyddog o'r enw yn arosol yn y lle. Y canlyniad fu i Dafydd fyned i ymholi â'r Golygydd pwy oedd awdwr y chwedl; ac i ddymuno arno i alw yr anwiredd yn ol. Eithr Mr. Rees a atebodd ac a ddywedodd, 'Yn wir nid y fi oedd yr awdwr; ei dderbyn wnaethum i, ac felly yr oedd yn wirionedd i mi; ac nid wyf fi ddim yn ei weled yn werth i'w alw yn ol, ac ni chymmerwn hyny byth o drafferth: hefyd, gan eich bod yn credu mewn bwrw allan gythreuliaid, pa ddrwg a all fod yn y stori? Ni wnaf ei galw yn ol byth, o herwydd yr wyf yn ei chredu. A thaw di y ffwl; ffordd y gwyddost ti mai ti yw y Dafydd Williams hyny? ai un Dafydd Williams sydd yn Llanelli? Ac a wyddost ti â phwy wyt ti yn siarad, y ffwl hannercall, haerllug, &c.' Dyna rai o atebion Mr, Rees i ofyniadau Dafydd Williams; ac yr wyf yn danfon i chwi frawd Davis, yn yr un llythyr, yr holl ymddyddan a fu rhyngddynt, a gellwch chwi ei ddefnyddio fel y meddylioch yn oreu."

Yr ydym wedi darllen yr ymddyddan a fu rhwng y Brawd Williams a Mr. Rees, a buasai yn werth ei gyhoeddi pe buasai wedi dygwydd yn gyhoeddus, a ninnau yn gallu hebgor lle iddo; ond gan nad oes dim o hono yn ffafriol i gymmeriad pregethwr, gwell er lles Mr. Rees ei fod ef allan, ac felly y mae. Gwelir wrth lythyr y David Williams oedd yn llywyddu y cyfarfod,

mai UN O ARGRAFFWYR Mr. Rees oedd y "Dic" wedi y cwbl; ond nid yw yn debyg y gwyddai Mr. Rees fod ei *Brinter's Devil* ef yn arfer gwisgo cyrn a chynffon, ac yn medru gwasgu dynion fel astyllod? Gwell i'n ffrynd Mr. Rees gadw ei "Ddic" yn y swyddfa, na'i adael i fyned allan i dduo ei gymmeriad gyda "Sataniaid" y Dyddiau Diweddaf; canys nid ydynt o'r un rywogaeth. Mae "Dic" Mr. Rees yn addasach i fyned i Gapel Als i ddangos ei allu: efallai fod yno fwy o ariangarwch i gael "pen tŷ" newydd, nag sydd yn mhlith y Saint, pe dygwyddai na fyddai yno neb "yn medru coleru yn hen lanc."

Diolchwn i Mr. Rees am gyhoeddi dau bennill nefolaidd Evan o'r Dref Draw; ond odid nad allant fod yn gynnorthwy i ddefaid Capel Als wrth rydio yr hen Iorddonen a feddyliant groesi yn angeu, heblaw eu bod yn awr yn profi fod eu bugail dan arweiniad Ysbryd D—(Dic, onide?) Pe medrem ni gyfansoddi penillion mor llawn o wir Gristionogaeth ag eiddo Evan, byddem yn awyddus i dalu yn ol y pwyth, a hyny yn ddau ddyblyg; ond nid yw ein hawen yn arfer cynnyrchu y fath ddiliau mêl, ac felly ofer i ni dreio.

---

## Y DALL ETTO YN DYFOD I WELED.

MR. GOL.,—Yn mis Rhagfyr diweddaf, galwyd fi, a thri henuriad arall, o gangen Caerdyf, i weinyddu ar fachgenyn, dwy flwydd oed, ag oedd yn hollol ddall, ac wedi ei gyhoeddi felly gan feddyg cyfrifol o'r dref. Mab ydoedd i John Morris, saer coed, gerllaw Little Frederick st., Caerdyf; ac ymddengys mai anwyd dychrynllyd oedd yr achos o'i ddallineb. Ar ddymuniad ei rieni, eneiniasom ef ag olew, yn enw yr Arglwydd, gan osod ein dwylaw arno a gweddio; a'r canlyniad fu, iddo ddyfod i ddechreu gweled yn y fan, a chyn pen nemawr o ddyddiau daeth i weled gystal â neb. Mae y dystiolaeth uchod yn wir, a phwy bynag sydd am wybodaeth ychwanegol galwed genyf fi.

Yr eiddoch, yn y gwirionedd,

*Heol Tredegar, Caerdyf.* JAMES ELLIS.

O. Y.—"Yr ydym ni, tad a mam y plentyn, yn tystiolaethu fod yr hanes uchod yn gywir, ac yn ddiolchgar i Dduw am ei ddaioni.

"JOHN MORRIS,
"ELIZABETH MORRIS."

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR FON.

CYNNALIWYD y gymmanfa uchod yn Mangor, ar y 20fed o Ionawr, pan y cynnrychiolwyd pedair o gangenau, yn cynnwys 10 o henuriaid, 6 o offeiriaid, 1 athraw, ac 1 diacon; wedi eu bedyddio yn y tri mis diweddaf, 21; cyfanswm yn 73. Cafwyd cyfarfodydd rhagorol o dda trwy y gymmanfa.—Thomas Morgan, llywydd; Wm. Isaac, ysgrifenydd.

### SIR FEIRIONYDD.

Cynnaliwyd cymmanfa chwerterol sir Feirionydd, yn Harlech, ar y 24ain o Chwefror, lle y cynnrychiolwyd pump o gangenau, yn cynnwys 12 o henuriaid, 5 o offeiriaid, 1 athraw, ac 1 diacon; 18 wedi eu bedyddio, 1 wedi ymfudo, 1 wedi symud, a 3 wedi eu tori allan; y cyfan yn 76. Cawsom gyfarfodydd da, yn mha rai y pregethodd amryw o'r brodyr yn effeithiol iawn.— Eliezer Edwards, llywydd.

---

## AMRYWIAETHAU.

EISIEU DWFR.—Yr oedd dyn yn Nghaerdyf yn arferol o ddyfod i wrandaw y Saint, ac yn credu ynddynt; ond nid oedd modd ei berswadio i ufyddhau, er treio o'i berthynasau a phawb. Dydd Sul, y 24ain o Chwefror, fel ag yr oedd yn myned allan o gyfarfod y Saint, dylanwadodd rhywbeth arno nes y cwympodd yn ei hyd gerllaw y drws, fel un marw. Ymaflodd y diacon ynddo yn ddioed; ac wedi i'r dyn ddyfod ato ei hunan, y peth cyntaf a glywwyd ganddo oedd, "Dwfr—dwfr—afon—afon." Deallodd y swyddogion yr awgrym, a chymmerwyd ef yr awr hono i gael ei fedyddio er maddeuant o'i bechodau, ac y mae yn awr yn aelod ffyddlawn. Doed rhywbeth cyffelyb dros holl ystyfnigion y byd, i'w gwasgu i edifeirwch.—*J. Ellis.*

CLUDWYR Y LLYN HALEN.—Dywed y "Frontier Guardian" fod y Mrd. Shadrac Roundy, Jedediah M. Grant, John S. Fulmer, Abraham O. Smoot, G. D. Grant, a Russell Homer, yn myned i gario ymfudwyr, sypynau, a nwyddau o bob math, o gerllaw Council Bluffs i Ddinas y Llyn Halen neu Ddyffryn y Sacramento. Mae wageni ysgafn, i'w llusgo gan bedwar o geffylau neu fulod, yn cael eu darparu, pob un i gludo tri teithiwr a gyrwr, am dri chant o ddolars yr un, a chant a hanner o bwysau i bob un yn rhydd. Bydd wageni y nwyddau i'w llusgo gan ychain, a chodir oddeutu deuddeg dolar a hanner y cant, neu ddeucant a hanner y dunell. Cychwyna y wageni mor gynnar yn y gwanwyn ag y daw porfa i'r anifeiliaid. Ond odid nad ateba hyn ddyben da, ac y bydd yn fanteisiol hefyd i'r aur-gloddwyr.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 16.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. II.] EBRILL, 1850. [PRIS 2½g.

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;
AR WERTH HEFYD
Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Dean a'r Gogledd.
1850.

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

☞ Dymunwn hysbysu y Saint yn gyffredinol ein bod ni wedi ein rhyddhau o fod yn ysgrifenydd i'r Gynnadledd hon, a thros Gymru, ac na fydd genym ni ddim i wneyd â neb ond ynghylch y llyfrau, o hyn allan. Anfoner pob llythyron at y Prif Gynghor fel hyn:—Mr. William Phillips, 14, Nantygwenith street, Georgetown, Merthyr Tydfil." Mae ef wedi symud i'r tŷ nesaf atom, er mwyn cyfleusdra, lle bydd ysgrifenydd y gynnadledd hon yn gwneuthur ei artref, fel ag i fod yn gyfleus i ateb dyeithriaid fyddo yn dyfod ar fusiness, yn absennoldeb y Lywydd Phillips. I'r brawd Phillips y bydd y degwm a blaen-daloedd ymfudwyr i gael eu talu, ynghyd â phob peth arall, ond am y llyfrau.

"T. D."—Os bydd rhywun yn y cylch pregethu wedi tyfu yn ormodol, bydd yn well ei galw dipyn yn rhwym. Mae dynion mawr chwyddedig yn hollol anaddas i arwain plant Duw.

"E. D."—Nid papyrau symud yw y Trwyddedi, ond dangosiad o swydd, a llywydd ac ysgrifenydd cynnadledd yn unig a all eu harwyddo.

YR "EURGRAWN."—Derbyniasom lythyr cyfrinachol oddiwrth ein hanwyl frawd Capt. Jones, yn yr hwn ceisia genym i wneyd ein goreu i werthu y llyfr gwerthfawr uchod, gan y bydd arno angen am ei eiddo er ymweled â'r Indiaid Americanaidd, ac hefyd er dychwelyd yn ol etto i Gymru. Gobeithiwn y gwna yr holl lywyddion eu rhan drosto. Mae yn gofyn hefyd os oes rhai o'i hen ddyledwyr wedi talu eu dyledion; yr oedd yn ddrwg genym i ysgrifenu yr ateb, fod llawer o honynt heb dalu cymmaint â dimai. Gwnawn ni ddanfon eu henwau yn fuan at lywydd pob cynnadledd, i'w dwyn hwynt i brawf.

☞ Bydd y brawd Dr. Levi Richards yn gwneyd ei artref mwyaf neillduol yn Abertawy, lle y mae Cynnadledd Orllewinol Morganwg yn cyfranu at ei anghenrheidiau. Gobeithiwn y perchir y brawd hwn yn mhob man yr elo.

CYMDEITHAS Y TRAETHODAU.—Mae y Prif Gynghor wedi penderfynu fod yn well diddymu y Tea Party Cyffredinol a arferid gynnal, a rhoi rhyddid i bob Cangen i wneuthur casgliadau misol, er cael traethodau iddynt eu hunain, fel y caffo pawb yr un chwarae teg. Bydded i gasgliad gael ei wneuthur y nos Lun gyntaf o'r mis, yn y cwrdd gweddi cenadol, fel arferol, tuag at gael traethodau i achosi llwyddiant; a gellir cynnal tê parti blynyddol mewn cymmanfaoedd, neu gangenau mawrion, at gynnorthwyo lleoedd tlodion â thraethodau, yn ol fel y penderfyno y llywyddion a'r Saint.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 16.] EBRILL, 1850. [CYF. II.

## ANERCHIAD EPISTOLAIDD YR APOSTOL FRANKLIN D. RICHARDS AT Y SAINT EWROPAIDD.

ANWYLIAID YN YR ARGLWYDD,—Wedi cael fy ngalw a'm neilldu i lafurio yn y rhan hon o'r ddaear, mewn cyssylltiad â'r Henuriad Pratt, cyhoeddir y llythyr canlynol o apwyntiad oddiwrth y Brif Lywyddiaeth, fel y byddo ei ysbryd a'i fwriad yn fwy dealladwy i bawb y perthyno iddynt.

"*At bawb y delo y llythyr hwn atynt, yn anerch:*

"Gwybyddwch chwi fod y dygiedydd, Franklin D. Richards, yn henuriad a brawd cywir a ffyddlawn yn Israel, ac yn aelod o gorwm y Deuddeg Apostol am y dyddiau diweddaf; wedi ei apwyntio a'i genadu gan awdurdodau Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, mewn cymmanfa gyffredinol, ymgynnulledig yma ar y dydd hwn, ar genadiaeth i Lloegr. I ymgynghori â'r Henuriad Orson Pratt, ynghylch holl faterion yr Ynysoedd Prydeinig. I bregethu efengyl Iesu Grist a gweinyddu yn ei holl ordinhadau perthynol i'w genadiaeth, o dan lywyddiaeth yr eglwys yno; ac mewn cyssylltiad â'r brodyr yn ei gorwm, i lywyddu dros holl oruchwylion yr eglwys yn yr holl fyd; ac awdurdodir ef i gasglu Degwm, a derbyn cyfraniadau at y Drysorfa Barhaus er ymgasglu y Saint tlodion; ac yr ydym yn galw ar yr holl Saint, ac ar drigolion y ddaear, i dderbyn ein hanwyl frawd Richards, megys cenadydd i'r Duw byw, yn cynnyg bywyd ac iachawdwriaeth i bawb; ac yn gymmaint ag y bydd i chwi wrandaw ar ei addysgiadau a'i gynghor, a'i gynnorthwyo ar ei

daith a'i genadiaeth, ni chollwch mewn un modd eich gwobr; ac yr ydym yn gweddio ar Dduw y Tad tragywyddol i fendithio y brawd Richards yn helaeth yn mhob peth, a'r rhai hyny a'i derbyniant ac a weinyddant tuag at ei anghenrheidiau, yn enw Iesu Grist. Amen.

"Arwyddwyd a seliwyd yn Ninas y Llyn Fawr Halen, Talaeth Deseret, America Ogleddol, ar y 6fech dydd o Hydref, 1849.

"BRIGHAM YOUNG,<br>
"HEBER C. KIMBALL, } Llywyddiaeth Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.<br>
L. S. "WILLARD RICHARDS,<br>
"THOMAS BULLOCK, Cofnodydd."

Oddiar fy ymadawiad o'r Ynysoedd Prydeinig gyda chwmpeini o Saint ar fwrdd y "Carnatic," yn Chwefror, 1847, treuliais y rhan fwyaf o'm hamser wrth fyned i Winter Quarters, a myned â gwersyll o Saint a'm teulu oddiyno i Ddyffryn y Llyn Fawr Halen; wrth adeiladu, cloddio, aredig, hau, dyfrhau, a llawer o bethau ereill sydd yn anghenrheidiol mewn sefydliad newydd mewn rhan bellenig o'r anialwch Americanaidd; hefyd mewn cynghor ystyrbwyll gyda'm brodyr yn yr offeiriadaeth santaidd, wedi ystyried sefydliad Seion, a daioni ei phlant yn yr holl fyd. Oddiar y 19eg o Hydref diweddaf, yr wyf (gyda y brodyr sydd yn awr wedi dyfod i mewn) wedi teithio un rhan o dair o arwynebedd y ddaear, yn ystod yr amser mwyaf anfanteisiol o'r flwyddyn, trwy gannoedd o filltiroedd o eira ar y gwastad-diroedd mawrion, trwy laid dwfn a braidd annhreiddiol trwy ranau o'r Unol Daleithiau, yn gystal â rhuthr-wyntoedd ac ystormydd ar y môr. Diolchwn a molwn yr Hollalluog Dduw, trwy ei dirion drugaredd a'i iachawdwriaeth fawr, yr ydym wedi lanio yn ddiogel ar eich glenydd, ac y mae ein llawenydd wedi ychwanegu yn fawr wrth weled gogoniant ychwanegol ei waith Ef yn y deyrnas hon. * *

* * * * * * * *

Fe gedwir mewn cof, nad yw y drysorfa [sef y Drysorfa Ymfudol Barhaus] i fod yn lle y degwm, nac i berthyn dim iddo. Mae y degwm yn gyfraith i'r Saint yn unig; ond gellir cynyddu y drysorfa hon gan roddion gwirfoddol pawb a ewyllysiant, enwau a symiau pa rai a ysgrifenir mewn llyfr, i'w gadw yn nghofres-dy yr eglwys, hyd y dydd y bernir pawb yn ol y gweithredoedd a wnaethant yn y corff, allan o'r llyfrau a agorir.

Trysorfa Ymfudol ydyw hon, ac ni ellir ei defnyddio at ddim

ond at ymgasglu y ffyddlawn, a bydd dan gyfarwyddyd neillduol y Brif Lywyddiaeth. * * * Bydded i lywyddion y cynnadleddau a'r cangenau edrych fod y pwnc hwn yn cael ei osod yn gywir o flaen y bobl yn eu cynnulleidfaoedd cyhoeddus, a'i fod yn ddeallus i bawb. * * * *

Er hwylusdod i bawb sydd yn ewyllysio cynnorthwyo yn y gwaith da hwn, yr wyf yn cynnyg y drefn ganlynol. Apwyntied llywydd pob cangen rhyw ddyn da a ffyddlawn i dderbyn beth bynag a delir i mewn, a chadw cyfrif cywir a ffyddlawn o hyny, ynghyd ag enw pob rhoddwr yn llawn, ac enw y gangen a'r gynnadledd y perthyna iddynt. Apwyntied llywydd pob cynnadledd rhyw ddyn o ymddiried i dderbyn y rhoddion a'r enwau hyn, oddiwrth bob cangen, a gosod y cyfan mewn trefn, fel mor fynych ag unwaith bob chwarter, neu bryd bynag y gelwir am danynt gan y Llywydd Pratt neu fy hunan, y gellir eu cael i law yn ddioed. * * * * * *

Wrth gymmeryd fy lle yn y maes gweithio pwysig hwn, yn absennoldeb yr Henuriad Pratt, ymgeisaf wneuthur pob peth, mor debyg ag a fo posibl, megys pe byddai efe ei hun yn bresennol. Mae ein galwadau a'n hordeiniadau yn gyffelyb,—yr ydym yn cael ein cyfarwyddo a'n dysgu, yr wyf yn gobeithio, gan yr un Ysbryd, a thrwyddo arweinir ni i feddwl yr un pethau; o herwydd y gwyliedyddion "a welant lygad yn llygad" pan fyddo yr Arglwydd yn adeiladu Seion. * * *

FRANKLIN D. RICHARDS.

15, Wilton-street, Liverpool, Ebrill 10, 1850.

[Mae anerchiad y brawd Richards, fel y gellir deall, yn helaethach nag y mae wedi ei roddi yma; ond yr ydym wedi dethol y pethau mwyaf anghenrheidiol eu gwybod.—GOL.]

## Y GENADIAETH YN FFRAINC.

*Boulonge, Ebrill* 11, 1850.

ANWYL FRODYR WM. PHILLIPS A JOHN DAVIS,—Er yr holl ymdrech a wnaed gan Brostestaniaid a Chatholiciaid y lle hwn, i'm rhwystro i bregethu yr efengyl yn nghyflawnder ei bendithion i'r trigolion; etto, llwyddais drwy y cyfan i gael lle cyfleus yn nghanol y dref, i osod y gwirionedd fel ag y mae yn yr Iesu, yn destun sylw ac ufydd-dod i'r onest ei galon. Nid yw y gynnull-

eidfa o wrandawwyr ond ychydig; etto, "pwy a ddirmyga ddydd y pethau bychain?" Ychydig flynyddau yn ol, y darfu i'r dwyfol wirionedd, trwy nerth ac awdurdod yr offeiriadaeth, ddechreu mawreddog waith goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, ar gyfandir America, trwy ddechreu casglu yngbyd wroniaid deiliaid y deyrnas a leinw'r byd â gogoniant Duw, ac a saif yn oes oesoedd. Er mor lleied ydyw yr amser, ac er cymmaint hefyd ydoedd y gwrthwynebiadau a wnaed i gynghor Duw gael ei gyflawni, nid gan Belial a'i holl luoedd yn unig, ond hefyd gan holl wersylloedd y faner "Brotest;" etto, gellir eisoes restu dedwydd ddeiliaid breintiau teyrnas Seion, yn dorfeydd o ganoedd o filoedd, a thyrfaoedd lawer etto yn dweyd, "Beth a wnawn ni?" A'r swyddwyr, wedi eu gwisgo a'u hawdurdodi ag arfogaeth y gwirionedd, yn efengylwyr tangnefedd ar bob bryn, a thrwy y broydd, dinasoedd, a phentrefydd, yn barod i ddweyd, "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch, er maddeuant pechodau; a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân." Gwir fod gan bob gwas dorfeydd o elynion i'w gorchfygu; ond y mae *secret* ei Feistr yn ei wroli, a gwybod y mae y bydd yn fwy nâ choncwerwr yn y man; canys y mae'r gelynion yn dechreu colli eu *hanadl*. At the siege at Damascus, the celebrated warrior, Kaleb, said to the Arabian Mahomedan army, "Look to it, the enemy are two to one, and there is no breaking them, but by *outwinding* them, hold out until the evening, and then the victory." And truly it was so.

Ar ddydd Sul, y 3ydd o Fawrth, yn agoriad lle i bregethu y bregeth gyntaf, nid oedd yn bresennol ond ychydig; nid yw ychwaith i'w ryfeddu; canys yr oedd gwahanol weinidogion y deadelloedd crefyddol wedi rhoddi rhybyddion dwys i'r holl braidd i fod yn wyliadwrus. "Touch not, taste not, look not, listen not to the charmer's voice, with his poisonous fruit." Yr oeddys wedi dweyd wrth berchen yr ystafell, y buasai y gaubrophwyd yn eu hudo, nes eu gwneyd yn ddall, &c. O herwydd yr oll a ddywedwyd, yr oedd hyd y nod y plant bach yn ofnus; ond yn niwedd y cyfarfod, fe ddarfu i'r French, Scotch, German, Sais, a'r Cymro oedd yn bresennol, ysgwyd llaw â'u gilydd, yn arwydd fod undeb y ffydd yn dechreu ei gwaith tangnefeddus ar gyfandir Ffrainc.

Wedi ymweled â gweinidogion y gwahanol eglwysi, heb gael

and ychydig o roesaw, troais at eu haelodau cyfoethog â'r traethodau, gan ddymuno cael hamdden i bregethu yr efengyl yn eu gwych ystafelloedd, a chefais lawer mwy o roesaw a boneddigeiddrwydd nâ'r hyn a ddangosodd eu dysgawdwyr. Hyfryd oedd genyf eistedd yn eu hystafelloedd i ateb eu cwestiynau, a phregethu yr efengyl, gan eu rhybyddio i ffoi rhag y llid a fydd. Hyfryd hefyd oedd gweled awydd eu plant i wrandaw, a dangos i mi y caredigrwydd mwyaf. Y tlodion, ynghyd â'r Ffrench, a ddangosasant i mi garedigrwydd tuhwnt i'm dysgwyliad, oddieithr ychydig o eithriadau.

Yn mhlith y cannoedd o deuluoedd ag yr ymwelais â hwynt, yn mhob gradd a sefyllfa yn mhlith y Ffrench a'r Saeson, yn nosparthiad miloedd o draethodau yn y gwahanol drefydd a'r pentrefydd ag yr ymwelais â hwynt, cyfarfyddais â llawer o garedigrwydd, a thrwy ddaioni Duw diangais o grafangau gelynion gwaedlyd, yn llawn o ddichellion cyfrwys.

Wrth weled fod y cynauaf yn fawr ar gyfandir Ffrainc, gweddiais lawer ar i Arglwydd y cynauaf anfon gweithwyr allan i'm cynnorthwyo; a derbyniais y newydd hyfryd fod y brodyr John Taylor, Curtis G. Bolton, a J. Puck, o babell Seion, yn nyffryn y mynyddoedd, ar eu taith, yn genadon hedd tua chyfandir Ffrainc.

Yr ail Sabboth, wedi i mi ddarfod pregethu, cododd gweinidog yr Independiaid oedd yn bresennol, i anerch y gynnulleidfa, gan obeithio eu denu ag haeriadau celwyddog i anghredu yr hyn a glywsant, gan dystio ei anghrediniaeth ei hun; ar ei ol traddododd gweinidog y Bedyddwyr araeth i'r un pwrpas; rhoddais innau fy nhystiolaeth o'r gwirionedd, a daioni Duw i mi a'm teulu mewn ystyr dymmorol ac ysbrydol, a'm penderfyniad i fyned yn mlaen, &c. Aeth Mr. George Viett â mi dan ei fraich tua thref, a thystiodd wrth Mrs. Viett fel yr oedd yn teimlo droswyf, yn ngwyneb cynddaredd y ddau ddyn sydd yn aros yn y lle, heb gynnulleidfa gan yr un o honynt.

Aethum yn foreu y dydd Llun canlynol i dalu am yr ystafell bregethu yn mlaen llaw, rhag i'r gelynion ribio ei pherchenog. Aethum wedy'n at un o'r pregethwyr, i ddweyd fy mod yn bwriadu pregethu yn yr un ystafell y Sabboth canlynol; ond ni ddaeth yr un o honynt mwyach yn agos ataf.

Derbyniais lythyron oddiwrth y French Protestant Minister yn

Havre (yn yr iaith Ffrengig), yn tystio ei fod yn parhau i lynu wrth egwyddorion Mormoniaeth, a'i fod wedi ysgrifenu un llythyr o bwys i'w anfon ataf. Derbyniais hefyd lythyron oddiwrth ein chwaer Miss Anna Browse, o St. Malo, yn tystio fod un boneddwr o'r enw Mr. De Pau, ag oedd yn bresennol pan yn dadleu gwirionedd ein hegwyddorion o flaen offeiriad Pabaidd dysgedig, wedi credu y *doctrine*, ac yn debygol o uno ag eglwys Iesu Grist, Saint y Dyddiau Diweddaf, mor gynted ag y byddo cyfleusdra i gael gafael yn un o'r swyddwyr. Derbyniais lythyr oddiwrth y brawd Wm. Peddle, yn tystio fod yn St. Servan rai o'r gelynion penaf i mi, yn awr yn foddlawn i roddi yr oll sydd braidd ganddynt, er cael eu bedyddio a'u derbyn i eglwys Iesu.

Ar y 26ain o Fawrth, bedyddiais Mr. George Viett, a'i fab George H. B. Viett, yn y môr, ger Boulonge. Ychydig ddyddiau ar eu hol, aeth Mrs. Viett gyda mi i lawr tua'r afon, lle y cafodd hithau ei bedyddio. Cerddodd adref yn agos i ddwy filltir o ffordd yn y dillad gwlybion, a'r hin yn oer; etto, tystiodd dranoeth na theimlodd ei hun erioed mor iachus a chysurus. Y mae amryw wedi dweyd wrthyf am eu penderfyniad i gymmeryd eu bedyddio yn fuan. Mawrth 30, pregethais yn Gymraeg a Saesneg. Gwrandawodd y morwyr Cymreig arnaf yn astud ac yn ddifrifol iawn. Cyhoeddwyd y brawd teilwng G. Viett i bregethu y Sabboth canlynol yn y Ffrengaeg, ac yn yr iaith German. Y mae yn ysgolhaig medrus mewn amrywiol o ieithoedd, ac y mae yn awr yn ysgrifenu yr egwyddorion cyntaf yn iaith yr Almaen. Argyhoeddodd gadben o'r wlad hono, yn fuan wedi dyfod i'r eglwys.

Ebrill 6, 1830, y sefydlwyd Eglwys Iesu Grist, Saint y Dyddiau Diweddaf, ar gyfandir America, yn cynnwys chwech o aelodau.

Ebrill 6, 1850, y cefais innau y fraint o sefydlu cangen o'r un eglwys ar gyfandir Ffrainc, yn cynnwys chwech o aelodau.

Y mae genyf le cyfleus yn nghanol y dref i'r brodyr Americanaidd i ddechreu eu darlithoedd, yn ddigon helaeth i gynnwys o bedwar i bum cant. Y mae daioni Duw i'w weled yn fawr yn hyn; canys y mae yn anhawdd cael ystafelloedd anghyfleus i bregethu, tra y mae'r capel hwn yn nghanol y dref, a'i byrth yn agor yn un o'r prif heolydd.

Fy'm serch atoch oll, anwyl frodyr.

WM. HOWELLS.

## EWCH, A DYSGWCH.

"Ewch gan hyny, a dysgwch yr holl genedloedd, gan eu bedyddio yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân; gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a orchymynais i chwi,"—MATH. XXVIII. 19, 20.

YCHYDIG sydd yn gwybod pa beth sydd i'w olygu wrth "*ddysgu* yr holl genedloedd;" nid o herwydd ei fod yn beth anhawdd ei ddeall, ond o herwydd diffyg ystyriaeth. Yr un peth yw dysgu yr holl genedloedd, â phregethu yr efengyl i bob creadur." Wedi dysgu, y peth nesaf yw bedyddio; a'r neb a gredo, neu a dderbynio y ddysgeidiaeth, ac a fedyddier, a fydd cadwedig; eithr y neb ni chredo, neu ni chymmero ei ddysgu, a gondemnir. Yr oedd Crist wedi rhoddi rhywbeth neillduol i'r apostolion, er ei ddysgu i'r holl genedloedd; a thra y parhaent hwy i wneuthur hyny, addawodd i fod gyda hwynt bob amser hyd ddiwedd y byd. Nid ymddengys mai y Beibl a roddodd Crist iddynt, o herwydd yr oedd hwnw heb agos ei gwpla; ac nid yw yn debyg, ychwaith, iddo roddi un llyfr arall. Beth, ynte, oeddynt i'w ddysgu? Atebwn, mai yr efengyl, sef yr hyn a ddysgent i'r Iuddewon yn flaenorol. Y pethau mwyaf neillduol a ddysgent i'r Iuddewon, oedd ffydd ac edifeirwch, a bedydd er maddeuant pechodau, gan annog i ddysgwyl am fedydd yr Ysbryd Glân. Nid dysgu neb i ddarllen oedd gwaith yr apostolion, eithr dysgu "yr ymadrodd sydd yn dechreu rhai yn Nghrist;" neu, mewn geiriau ereill, dysgu fod yn rhaid "geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd," cyn y gall fyned i mewn i deyrnas Dduw; ac wedi cael dyn i mewn i'r deyrnas, yna ei ddysgu i gadw pob peth a'r a orchymynodd Iesu Grist. Nid i foddio clustiau neb â chwedlau gwneuthur, y danfonwyd yr apostolion, ond i ddysgu dynion yr hyn oedd yn *rhaid* iddynt ei wneuthur er bod yn gadwedig. Y neb a gredo ac a fedyddier, a *fydd cadwedig*." Ymdrechu achub yr holl genedloedd oedd gwaith yr apostolion; ac er eu hachub, nid oedd ond "un ffydd, un bedydd," ac "un Ysbryd." Nid gwiw oedd iddynt ddysgu y peth hyn i un, a'r peth arall i'r llall; ond dysgu yr efengyl i bob un, trwy ei annog i gredu, edifarhau, cymmeryd ei fedyddio â dwfr, ac â'r Ysbryd Glân. Pregethu yr un dyledswyddau a wnaent hwy o hyd, nes y gwelent ddynion yn ufyddhau; ac wedi hyny dysgid hwynt i gadw pob peth. Nid oedd wahaniaeth gan yr apostolion wrth bwy y pregethent; yr oedd yr

offeiriaid a'r werin yn gydradd yn eu golwg; a dysgent y naill fel y llall y ffordd i deyrnas Dduw. Yr oedd y rhai defosiynol a weddient yn nghonglau yr heolydd, mor bell yn ol o fod yn gadwedig â'r publicanod a'r pechaduriaid; o herwydd yr oeddynt yn diystyru cynghor Duw, trwy beidio gwneyd y gweithredoedd sydd yn dechreu rhai yn Nghrist. Nid oedd y duwioldeb mwyaf yn ddigon i gadw neb, heb iddo gymmeryd ei ddysgu a'i fedyddio. Ymarferai llawer â duwioldeb, eithr gwadent ei "grym hi," trwy beidio cymmeryd eu geni o ddwfr ac o'r Ysbryd, fel y gallent ei chael "mewn nerth a sicrwydd mawr."

Yn awr, yn gymmaint ag nad yw yr holl genedloedd wedi eu dysgu a'u bedyddio i gyd hyd yn hyn, rhaid mai yr un peth sydd i'w wneyd gan weision Duw yn yr oes hon etto, ag yn yr amser gynt. "Ewch gan hyny, a dysgwch," yw y commisiwn etto, "gan fedyddio." Nid gwiw bloeddio a chanu am ddyoddefiadau a marwolaeth Crist wrth ddynion sydd yn nheyrnas y tywyllwch, ac esgeuluso dangos iddynt fod yn rhaid eu "geni o ddwfr ac o'r Ysbryd," cyn y gallant fyned i mewn i deyrnas Dduw. Dylid pregethu ffydd a bedydd edifeirwch i bawb, hyd nes y credant; canys y neb a gredo ac a fedyddier, yn unig a fydd cadwedig. Mae llawer yn anfoddlawn i Saint y Dyddiau Diweddaf, am eu bod yn pregethu yr un peth o hyd, sef ynghylch ffydd, edifeirwch, bedydd er maddeuant, arddodiad dwylaw, &c. Tybia pobl eu bod wedi clywed digon ynghylch pethau felly; "ac oddiwrth y gwirionedd y troant ymaith eu clustiau, ac at chwedlau y troant," gan fod eu clustiau yn merwino. (2 Tim. iv, 3, 4.) Ant yn hytrach i wrandaw yr athrawon a bentyrasant eu hunain, y rhai nid ydynt mor fanwl wrth ddweyd am fedydd edifeirwch, &c., ag wrth esbonio a gwyrdroi yr ysgrythyrau, dadgyssylltu eglwys a gwladwriaeth, adeiladu ysgolion Normalaidd, diddymu y dreth eglwys, a desgrifio y pydew diwaelod. Caiff pawb ganddynt ddewis eu bedydd eu hunain, a'u ffydd eu hunain; yr unig beth sydd yn achub yw aelodiaeth yn rhywle heblaw gyda'r Pabyddion a'r Saint. Nid oes dim yn fwy cymmeradwy yn y capeli, na chlywed rhywrai yn areithio naill ai yn erbyn twyll yr hen Joe Smith, puteindra Eglwys Loegr, traws-arglwyddiaeth penaethiaid y Wesleyaid, ffurf addysg y llywodraeth, &c. O, fel y cymmeradwyir hyny trwy waeddi "hear," a churo dwylaw! Ond tra y byddo un o bregethwyr y Saint yn annog pobl i gredu, edifarhau,

a chymmeryd eu bedyddio, gan addaw dawn yr Ysbryd Glân, fel Pedr gynt (Act. ii, 38, 39), ymddygir tuag ato gyda'r diystyrwch mwyaf, ac ystyrir ef yn dwyllwr ofnadwy! Beth yw hyn ond methu dyoddef "athrawiaeth iachus," a gwrthod yr unig beth sydd er achub yr holl genedloedd?

Mae yn amlwg mai yr hyn a ddywedwyd wrth y tair mil ar ddydd y Pentecost, wrth yr eunuch, ceidwad y carchar, &c., yw yr hyn a ddylid ddweyd hefyd wrth bob creadur sydd heb gael adnabyddiaeth o Dduw, hyd nes yr ufyddhao i gael ei eni drachefn; a hyny yw y dysgu cyntaf yn y commisiwn. Yr ail "ddysgu" yw dysgu y rhai a anwyd felly, neu a wnaed yn ddyscyblion, i gadw *pob peth* a orchymynodd Crist, gan fyned rhagddynt at berffeithrwydd, "heb osod i lawr *drachefn* sail i edifeirwch oddiwrth weithredoedd meirwon, ac i ffydd tuag at Dduw; i athrawiaeth bedyddiadau, ac arddodiad dwylaw," &c. (Heb. vi, 1—6.) Am hyny, derbynied pob dyn y ddysgeidiaeth sydd yn perthyn iddo ef, a chaiff wybodaeth o'r gwirionedd, yn ol yr addewid.

---

## DARLITHIAU JOSEPH SMITH AR FFYDD.

### DARLITH IV.

WEDI dangos yn y drydedd ddarlith, fod meddylddrychau cywir o gymmeriad Duw yn angenrheidiol er gweithredu ffydd ynddo i fywyd ac iachawdwriaeth; ac mai heb feddylddrychau cywir o'i gymmeriad, nad allai meddyliau dynion gael digon o allu gyda Duw er gweithredu y ffydd angenrheidiol i fwynhau bywyd tragywyddol; a bod meddylddrychau cywir o'i gymmeriad yn gosod sylfaen, mor bell ag y mae ei gymmeriad yn perthyn, er gweithredu ffydd, fel ag i fwynhau cyflawnder bendithion efengyl Iesu Grist, hyd y nod ogoniant tragywyddol;—cawn yn awr fyned yn mlaen i ddangos y cyssylltiad sydd rhwng meddylddrychau cywir o briodoleddau Duw, a gweithrediad ffydd ynddo i fywyd tragywyddol.

Gadewch i ni sylwi yma, mai y gwir fwriad ag oedd gan Dduw y nef mewn golwg wrth wneuthur y teulu dynol yn adnabyddus o'i briodoleddau, oedd, fel y gallent hwy, trwy y meddylddrychau o fodoliaeth ei briodoleddau, gael eu galluogi i weithredu ffydd ynddo, a thrwy weithrediad ffydd ynddo, i allu cyrhaedd bywyd

tragywyddol; o herwydd heb y meddylddrych o fodoliaeth y priodoleddau sydd yn perthyn i Dduw, ni allai meddyliau dynion i gael gallu i weithredu ffydd ynddo, fel ag i ddal gafael ar fywyd tragywyddol. Yr oedd Duw y nefoedd, trwy ddeall yn berffaith gyfansoddiad y natur ddynol a gwendid dyn, yn gwybod pa beth oedd eisieu ei ddadguddio, a pha feddylddrychau oedd raid eu planu yn eu meddyliau, mewn trefn iddynt gael eu galluogi i weithredu ffydd ynddo i fywyd tragywyddol.

Wedi dweyd cymmaint â hyna, awn yn mlaen i sylwi ar briodoleddau Duw, fel eu darlunir yn ei ddadguddiadau i'r teulu dynol, ac i ddangos mor anghenrheidiol yw meddylddrychau cywir o'i briodoleddau, er galluogi dynion i weithredu ffydd ynddo; oblegid heb fod y meddylddrychau hyn wedi eu planu yn meddyliau dynion, buasai allan o bwer unrhyw berson neu bersonau i weithredu ffydd yn Nuw, fel ag i gyrhaedd bywyd tragywyddol. Felly yr oedd y cyfrinachau dwyfol a wnaed i ddyn yn y lle cyntaf, wedi eu bwriadu i sefydlu yn eu meddyliau y meddylddrychau anghenrheidiol er eu galluogi hwy i weithredu ffydd yn Nuw, a thrwy y moddion hyn i fod yn gyfranogion o'i ogoniant.

Mae genym, yn y dadguddiadau a roddodd efe i'r teulu dynol, yr hanes canlynol o'i briodoleddau.

Yn gyntaf—Gwybodaeth. Act. xv, 18. "Hysbys i Dduw yw ei weithredoedd oll erioed." Esay xlvi, 9, 10. "Cofiwch y pethau gynt erioed; canys myfi ydwyf Dduw, ac nid neb arall; Duw ydwyf, ac heb fy math; *yn myneyi y diwedd o'r dechreu*, ac er cynt yr hyn ni wnaed etto, yn dywedyd, Fy nghynghor a saif, a'm holl ewyllys a wnaf."

Yn ail—Ffydd neu Allu. Hebreaid xi, 3. "Wrth ffydd yr ydym yn deall wneuthur y bydoedd trwy air Duw." Genesis i, 1. "Yn y dechreuad y creodd Duw y nefoedd a'r ddaear." Esay xiv, 24, 27. "Tyngodd Arglwydd y lluoedd, gan ddywedyd, Diau megys yr amcenais, felly y bydd; ac fel y bwriedais, hyny a saif. O herwydd Arglwydd y lluoedd a'i bwriadodd, a phwy a'i diddyma? ei law ef hefyd a estynwyd, a phwy a'i try yn ol?"

Yn drydydd—Cyfiawnder. Salm lxxxix, 14. "Cyfiawnder a barn yw trigfa dy orsedd-fainc." Esay xlv, 21. "Mynegwch, a nesewch hwynt; cyd ymgynghorant hefyd: pwy a draethodd hyn er cynt? onid myfi yr Arglwydd? ac nid oes Duw arall ond myfi; yn Dduw cyfiawn, ac yn Achubydd." Sephaniah iii, 5. "Yr

Arglwydd cyfiawn sydd yn ei chanol." Zechariah ix, 9. "Bydd lawen iawn, ti ferch Seion; a chrechwena, ha ferch Jerusalem; wele, dy frenin yn dyfod atat; cyfiawn ac achubydd yw efe."

Yn bedwarydd—Barn. Salm lxxxix, 14. "Cyfiawnder a barn yw trigfa dy orsedd-fainc." Deuteronomium xxxii, 4. "Efe yw y Graig; perffaith yw ei weithred; canys ei holl ffyrdd ydynt farn: Duw gwirionedd, ac heb anwiredd, cyfiawn ac uniawn yw efe." Salm ix, 7. "Ond yr Arglwydd a bery yn dragywydd: efe a barotodd ei orseddfainc i farn." Salm ix, 16. "Adwaenir yr Arglwydd wrth y farn a wna."

Yn bummed—Trugaredd. Salm lxxxix, 14. "Trugaredd a gwirionedd a ragflaenant dy wyneb." Exodus xxxiv, 6. "A'r Arglwydd a aeth heibio o'i flaen ef, ac a lefodd, Jehofa, Jehofa, y Duw trugarog a graslawn." Nehemiah ix, 17. "Etto ti ydwyt Dduw parod i faddeu, graslawn, a thrugarog."

Ac yn chwechfed—Gwirionedd. Salm lxxxiv, 14. "Trugaredd a gwirionedd a ragflaenant dy wyneb." Exodus xxxiv, 6. "Hwyrfrydig i ddig, ac aml o drugaredd a gwirionedd." Deuteronomium xxxii, 4. "Efe yw y Graig; perffaith yw ei weithred; canys ei holl ffyrdd ydynt farn: Duw gwirionedd, ac heb anwiredd, cyfiawn ac uniawn yw efe." Salm xxxi, 5. "I'th law y gorchymynaf fy ysbryd; gwaredaist fi, O Arglwydd Dduw y gwirionedd."

Gyda ychydig o adfyfyriad gellir gweled, fod y meddylddrych o fodoliaeth y priodoleddau hyn yn y Duwdod yn anghenrheidiol er galluogi unrhyw fod rhesymol i weithredu ffydd ynddo ef; o herwydd heb y meddylddrych o fodoliaeth y priodoleddau hyn yn y Duwdod, ni allai dynion weithredu ffydd ynddo i fywyd ac iachawdwriaeth; gan weled mai heb y wybodaeth o bob peth, ni allasai Duw achub unrhyw gyfran o'i greaduriaid; o herwydd trwy y wybodaeth sydd ganddo ef o bob peth, o'r dechreu i'r diwedd, y mae yn cael ei alluogi i roddi y dealltwriaeth hwnw i'w greaduriaid, trwy yr hwn y gwneir hwynt yn gyfranogion o fywyd tragywyddol; ac oni bai fod y meddylddrych yn bodoli yn meddyliau dynion, fod Duw yn meddu pob gwybodaeth, ni fuasai yn bosibl iddynt weithredu ffydd ynddo ef.

Ac nid yw yn llai anghenrheidiol fod gan ddynion y meddylddrych o'r briodoledd o allu yn y Duwdod; o herwydd oni bai fod gan Dduw allu dros bob peth, a'i fod yn alluog trwy ei allu i

lywodraethu pob peth, a thrwy hyny waredu ei greaduriaid ag sydd yn ymddiried ynddo ef, rhag gallu pob bodau a allent ymgeisio eu dinystrio, pa un bynag ai yn y nefoedd, ar y ddaear, neu yn uffern, ni allasai dynion gael eu hachub. Ond tra fyddo y meddylddrych o fodoliaeth y briodoledd hon wedi ei phlanu yn y meddwl, teimla dynion fel pe na byddai ganddynt ddim i'w ofni, y rhai sydd yn ymddiried yn Nuw, gan gredu fod ganddo ef allu i achub pawb sydd yn dyfod ato hyd yr eithaf.

Mae yn angbenrheidiol hefyd, mewn trefn i weithredu ffydd yn Nuw i fywyd ac iachawdwriaeth, fod gan ddynion y meddylddrych o fodoliaeth y briodoledd o gyfiawnder ynddo; o herwydd heb y meddylddrych o fodoliaeth y briodoledd hon yn y Duwdod, ni allai dynion gael ymddiried digonol i roddi eu hunain o dan ei arweiniad a'i gyfarwyddyd; o herwydd llenwid hwynt ag ofn ac ammheuaeth, rhag i farnwr yr holl ddaear beidio gwneyd yn iawn; ac felly, gwnai ofn neu ammheuaeth, yn bodoli yn y meddwl, rwystro y posiblrwydd o weithrediad ffydd ynddo ef er bywyd ac iachawdwriaeth. Ond wedi i'r meddylddrych o fodoliaeth y briodoledd o gyfiawnder yn y Duwdod, gael ei blanu yn deg yn y meddwl, nid yw yn rhoi lle i ammheuaeth fyned i'r galon, a galluogir y meddwl i daflu ei hun ar yr Hollalluog heb ofn ac heb ammheuaeth, a chyda'r ymddiried mwyaf diysgog, gan gredu y gweithreda barnwr yr holl ddaear yn uniawn.

Mae hefyd o gymmaint pwys fod gan ddynion y meddylddrych o'r briodoledd o farn yn Nuw, fel y gallont weithredu ffydd ynddo er bywyd ac iachawdwriaeth; o herwydd heb y meddylddrych o fodoliaeth y briodoledd hon yn y Duwdod, byddai yn anmhosibl i ddynion weithredu ffydd ynddo ef er bywyd ac iachawdwriaeth, gan weled mai trwy weithrediad y briodoledd hon y mae'r ffyddlawn yn Nghrist Iesu yn cael eu gwaredu allan o ddwylaw y rhai hyny sydd yn ceisio eu dinystrio; o herwydd pe na ddeuai Duw allan mewn barn gyflym yn erbyn gweithredwyr anwiredd a galluoedd y tywyllwch, ni allai ei saint ef gael eu hachub; o herwydd trwy farn y mae'r Arglwydd yn gwaredu ei saint allan o ddwylaw eu gelynion, a'r sawl sydd yn gwrthod efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. Ond nid cynt y mae'r meddylddrych o fodoliaeth y briodoledd hon yn cael ei blanu yn meddyliau dynion, nag y mae yn rhoi gallu i'r meddwl er gweithredu ffydd ac ymddiried yn Nuw, a galluogir hwynt trwy ffydd i ddal gafael ar

yr addewidion a osodir o'u blaen, a rhydio trwy yr holl helbulon a'r trallodion sydd yn agored i'w cyfarfod o achos yr erlidigaeth oddiwrth y sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufyddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist, gan gredu y daw yr Arglwydd mewn pryd allan mewn barn gyflym yn erbyn eu gelynion, ac y cânt eu tori ymaith o'i flaen ef, ac y bydd iddo yn ei amser da ei hun eu dwyn hwythau ymaith yn goncwerwyr, a mwy nâ choncwerwyr yn mhob peth.

Ac etto, y mae yr un mor bwysig fod gan ddynion y meddylddrych o fodoliaeth y briodoledd o drugaredd yn y Duwdod, mewn trefn i weithredu ffydd ynddo ef er bywyd ac iachawdwriaeth; o herwydd heb y meddylddrych o fodoliaeth y briodoledd hon yn y Duwdod, byddai i ysbrydoedd y saint lesgâu yn nghanol y trallodion, y blinderau, a'r erlidigaethau sydd ganddynt i ddyoddef yn achos cyfiawnder. Ond pan fyddo y meddylddrych o fodoliaeth y briodoledd hon unwaith wedi ei sefydlu yn y meddwl, y mae yn rhoi bywyd a nerth i ysbrydoedd y saint, gan gredu y bydd i drugaredd Duw gael ei dywallt arnynt yn nghanol eu trallodau, ac y trugarha ef wrthynt yn eu dyoddefiadau, ac y bydd i drugaredd Duw gydio gafael ynddynt a'u sicrhau yn mreichiau ei gariad, fel y derbyniont wobr gyflawn am eu holl ddyoddefiadau.

Ac yn ddiweddaf, ond nid yn llai pwysig er gweithredu ffydd yn Nuw, yw y meddylddrych o fodoliaeth y briodoledd o wirionedd ynddo; o herwydd heb y meddylddrych o fodoliaeth y briodoledd hon, ni fyddai gan feddwl dyn ddim ar ba un y gallai orphwys gyda sicrwydd—byddai y cyfan yn ddyrysweh ac ammheuaeth. Ond gyda'r meddylddrych o fodoliaeth y briodoledd hon yn y Duwdod yn y meddwl, y mae'r holl addysgiadau, cyfarwyddiadau, addewidion, a'r bendithion yn dyfod yn bethau sylweddol, ac y mae'r meddwl yn cael ei alluogi i ddal gafael ynddynt gyda sicrwydd ac ymddiried, gan gredu fod y pethau hyn, a phob peth a ddywedodd Duw, i gael eu cyflawni yn eu hamser; a bod yr holl felldithion, bygythiadau, a'r barnedigaethau, a gyhoeddwyd ar benau yr anghyfiawnion, i gael eu gweinyddu yn amser Duw: ac o herwydd ei wirionedd a'i eirwiredd ef, mae y meddwl yn canfod ei waredigaeth a'i iachawdwriaeth megys yn sicr.

Gadewch i'r meddwl unwaith adfyfyrio yn bwyllog a difrifol

ar y meddylddrychau o fodoliaeth y priodoleddau rhag-grybwylledig yn y Duwdod, a gwelir, mor bell ag y mae ei briodoleddau yn dal cyssylltiad, fod sylfaen safadwy wedi ei gosod er gweithredu ffydd ynddo ef er bywyd ac iachawdwriaeth. O herwydd gan fod Duw yn meddu y briodoledd o wybodaeth, gall wneuthur yn adnabyddus i'w saint bob peth anghenrheidiol er eu hiachawdwriaeth; a chan ei fod yn meddu y briodoledd o allu, mae yn alluog drwy hyny i'w gwaredu oddiwrth allu pob gelynion; a chan weled, hefyd, fod cyfiawnder yn briodoledd o'r Duwdod, ymddyga tuag atynt ar yr egwyddor o gyfiawnder ac uniondeb, a rhoddir iddynt wobr gyfiawn am eu holl flinderau a'u dyoddefiadau o achos y gwirionedd. A chan fod barn yn briodoledd o'r Duwdod hefyd, gall ei saint feddu yr ymddiried mwyaf diysgog y cânt mewn amser cyfaddas waredigaeth gyflawn o ddwylaw eu holl elynion, a buddugoliaeth drwyadl ar bawb fu yn ceisio eu niweidio a'u dystrywio. A chan fod trugaredd hefyd yn briodoledd o'r Duwdod, gall ei saint feddu ymddiried y caiff ei weithredu tuag atynt hwy, a thrwy weithrediad y briodoledd hono tuag atynt hwy, bydd cysur a dyddanwch yn cael eu gweinyddu iddynt yn helaeth, yn nghanol eu holl flinderau a'u helbulon. Ac, yn ddiweddaf, gan wybod fod gwirionedd yn briodoledd o'r Duwdod, mae'r meddwl yn cael ei arwain i orfoleddu yn nghanol ei holl dreialon a'i demtasiynau, mewn gobaith o'r gogoniant hwnw a ddygir yn nadguddiad Iesu Grist, ac yn ngolwg y goron hono a osodir ar benau y saint yn y dydd y cyfrano yr Arglwydd wobrwyon iddynt, ac mewn dysgwyliad o'r pwys tragywyddol o ogoniant a addawodd yr Arglwydd dywallt arnynt, pan y dwg efe hwynt i ganol ei orseddfainc i drigo yn ei wyddfod yn dragywyddol.

Mewn golwg, ynte, o fodoliaeth y priodoleddau hyn, gall ffydd y saint ddyfod yn rhyfeddol o gryf, yn llawn cyfiawnder er mawl a gogoniant i Dduw, a gall ymorchestu ei dylanwad galluog wrth chwilio am ddoethineb a dealltwriaeth, nes y byddo wedi cael gwybodaeth o bob peth perthynol i fywyd ac iachawdwriaeth.

Y fath, ynte, yw y sylfaen sydd wedi ei gosod, trwy ddadguddiad o briodoleddau Duw, er gweithredu ffydd ynddo er bywyd ac iachawdwriaeth; a chan weled mai priodoleddau y Duwdod yw y rhai hyn, eu bod yn anghyfnewidiol—yr un ddoe, heddyw, ac yn

dragywydd—yr hyn sydd yn rhoddi i feddyliau Saint y Dyddiau Diweddaf yr un gallu ac awdurdod i weithredu ffydd yn Nuw, ag a feddai Saint y dyddiau gynt; fel ag y mae'r holl saint yn y peth hyn, wedi bod, yn bod, a pharhant i fod yn debyg hyd ddiwedd amser; o herwydd nid yw Duw yn cyfnewid, o ganlyniad mae ei briodoleddau a'i gymmeriad yn parhau yr un fath dros byth. A chan mai trwy ddadguddiad y rhai hyn y mae sylfaen wedi ei gosod er gweithredu ffydd yn Nuw i fywyd ac iachawdwriaeth, mae y sylfaen, o ganlyniad, er gweithredu ffydd wedi bod, yn bod, ac i barhau byth i fod yr un; fel ag y mae pawb wedi cael, ac i gael, braint gyfartal.

### DARLITH V.

Yn ein darlithiau blaenorol sylwasom ar fodoliaeth, cymmeriad, perffeithderau, a phriodoleddau Duw. Yr hyn a feddyliwn wrth berffeithderau yw, y perffeithderau sydd yn perthyn i holl briodoleddau ei natur. Cawn lefaru, yn y ddarlith hon, am y Duwdod—yr ydym yn meddwl y Tad, Mab, ac Ysbryd Glân.

Y mae dau berson ag sydd yn cyfansoddi y gallu mawr, digyffelyb, llywodraethol, a goruchel, dros bob peth—trwy y rhai y crewyd ac y gwnaethwyd pob peth, a'r a grewyd ac a wnaethwyd, pa un bynag ai gweledig ai anweledig—pa un bynag ai yn y nefoedd, ar y ddaear, neu yn y ddaear, odditan y ddaear, neu trwy y gwagle annherfynol. Hwynt-hwy yw y Tad a'r Mab—mae y Tad yn berson o ysbryd, gogoniant, a gallu, yn meddu pob perffeithrwydd a chyflawnder—mae y Mab, yr hwn sydd yn mynwes y Tad, person o dabernacl, wedi ei wneuthur neu ei lunio yn debyg i ddyn, neu yn null a delw dyn, neu yn hytrach lluniwyd dyn yn ol ei lun a'i ddelw ef; mae efe hefyd yn wir lun a delw person y Tad, yn meddu holl gyflawnder y Tad, neu yr un cyflawnder gyda'r Tad; wedi ei genedlu o hono, a'i ordeinio er cyn seiliad y byd i fod yn iawn dros bechodau y sawl a gredai yn ei enw, a gelwir ef yn Fab o herwydd y cnawd—ac ymostyngodd mewn dyoddefiadau yn îs nag y gallai dyn ddyoddef; neu, mewn geiriau ereill, dyoddefodd ddyoddefiadau mwy, a gosodwyd ef yn agored i wrthwynebiadau mwy pwerus nag y gallai un dyn fod. Ond er hyny oll, cadwodd gyfraith Duw, ac arosodd heb bechod, gan ddangos trwy hyny ei fod yn ngallu dyn i gadw y

gyfraith ac aros hefyd heb bechod; ac hefyd, mai trwyddo ef y gallai barn gyfiawn ddyfod ar bob cnawd, ac fel y buasai i bawb na rodient yn ol cyfraith Duw, gael eu condemnio yn gyfiawn gan y gyfraith, ac i fod heb un esgus dros eu pechodau. Ac efe yn unig-anedig y Tad, yn llawn gras a gwirionedd, ac wedi gorchfygu, a dderbyniodd gyflawnder o ogoniant y Tad—gan feddu yr un meddwl gyda'r Tad, yr hwn feddwl yw yr Ysbryd Glân, ag sydd yn dwyn tystiolaeth o'r Tad a'r Mab, a'r tri hyn un ydynt; neu, mewn geiriau ereill, mae y tri hyn yn cyfansoddi y gallu mawr, digyffelyb, llywodraethol, a goruchel dros bob peth; trwy y rhai y crewyd ac y gwnaethwyd pob peth, a'r a grewyd ac a wnaethwyd, a'r tri hyn sydd yn cyfansoddi y Duwdod, ac un ydynt; mae y Tad a'r Mab yn meddu yr un meddwl, yr un doethineb, gogoniant, gallu, a chyflawnder—yn llanw oll yn oll; y Mab wedi ei lanw â chyflawnder o'r meddwl, gogoniant, a gallu; neu, mewn geiriau ereill, ag ysbryd, gogoniant, a gallu y Tad—yn meddu pob gwybodaeth a gogoniant, a'r un deyrnas—yn eistedd ar ddeheulaw y gallu, ar wir lun a delw y Tad, yn gyfryngwr dros ddyn—wedi ei lanw â chyflawnder meddwl y Tad; neu, mewn geiriau ereill, ag ysbryd y Tad, yr hwn ysbryd a dywelltir i waered ar bawb a gredant yn ei enw ac a gadwant ei orchymynion; a'r holl rai hyny a gadwant ei orchymynion a gynnyddant o ras i ras, a deuant yn etifeddion o deyrnas nefoedd, a chyd-etifeddion ag Iesu Grist; yn meddu yr un meddwl, wedi eu cyfnewid i'r un llun a delw, hyd y nod ei wir lun Ef sydd yn llanw oll yn oll; wedi eu llanw â chyflawnder ei ogoniant, a dyfod yn un ynddo ef, megys y mae'r Tad, Mab, ac Ysbryd Glân yn un.

Oddiwrth yr hanes blaenorol am y Duwdod, yr hwn a roddir yn ei ddadguddiadau, mae y saint wedi gosod sylfaen safadwy er gweithredu ffydd i fywyd ac iachawdwriaeth, trwy iawn a chyfryngdod Iesu Grist; trwy waed yr hwn y maent yn cael maddeuant pechodau, ac hefyd wobr sicr wedi ei thrysori iddynt yn y nefoedd, hyd y nod o gyfranogi o gyflawnder y Tad a'r Mab trwy yr Ysbryd. Megys y mae'r Mab yn cyfranogi o gyflawnder y Tad trwy yr Ysbryd, felly y mae'r saint, trwy yr un Ysbryd, i fod yn gyfranogion o'r un cyflawnder, i fwynhau yr un gogoniant; o herwydd megys y mae'r Tad a'r Mab yn un, felly, mewn cyffelyb fodd, y mae'r saint i fod yn un ynddynt hwy. Trwy gariad y

Tad, cyfryngdod Iesu Grist, a dawn yr Ysbryd Glân, y maent hwy i fod yn etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion ag Iesu Grist.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH CAPT. D. JONES AT Y LLYWYDD W. PHILLIPS.

*Glan yr Afon Werdd, Hydref* 12, 1849.

ANWYL FRAWD PHILLIPS,—Oddirhwng megys cawodydd, gan amlder a phwysigrwydd goruchwylion, cipiaf yr adeg, ganol nos, i'ch anerch, ïe, o eithafion yr anialwch pellenig hwn. Ac er fod ein pellder lleawl yn cynnyddu yn barhaus, etto nid yw hyny, na dim arall a'm cyfarfydda ar y daith hirfaith a hynod hon, yn dyeithrio fy meddyliau, fy serchiadau, na'm gweddiau oddiwrthych chwi, oddiwrth fy anwyl frodyr ereill yn yr offeiriadaeth—y Saint hynaws—plant fy nghenedliad i yn Nghrist Iesu, nac yn gwneyd i mi anghofio gwinllan fy Arglwydd, gardd fy mhlaniad a'm diadell yn Nghymru.

Heddychol yw'm cydwybod er pan eich gadewais, o herwydd pob athrawiaeth a bregethais, pob dyscyblaeth a weinyddais, a phob trefniad a sefydlais cyn eich gadael, a beunyddiol weddiaf am i'r Duw a bia y winllan ofalu am dani yn mhob peth. Cyflwynais y Saint yn ddifrifol i ofal eu gwahanol lywyddion, a dysgais a chyhoeddais eu dyledswyddau iddynt, fel nad rhaid iddynt yn anwybodus eu cylch-arwain ar gyfeiliorn; a mawr y fraint, ofnadwy y cyfrifoldeb! dwys yw'r ystyriaeth—dethølwyd chwithau a'ch cynghorwyr yn wylwyr dros yr oll yna. O, cofiwch fy nghynghorion, dilynwch fy esiampl i, megys ag y dilynais innau athrawiaeth iachus ein Harglwydd Iesu Grist. Byddwch yn esiampl i'r Saint mewn gostyngeiddrwydd, addfwynder, amynedd, cariad, a phob ffrwythau duwioldeb; fel, pan y byddoch chwithau mor agos i'r brif gorlan ddaearol ag yr wyf fi, y bydd yn hoff genych edrych yn ol ar eich gwaith, ac yn llawenydd genych feddwl am roddi i fyny eich cyfrif. O, mor hyfryd yw genyf yn awr feddwl am fy ymdrechiadau ddydd a nos tra yna, er fy mod yn fy nghorff yn beunyddiol deimlo arteithiau a phoenau a achosodd hyny i mi.

Nid wyf yn teimlo mor ofnog am yr achos yna ar ol eich

gadael, ag y tybiais gynt y teimlwn; yr achos o hyny yw, o herwydd y gwn fod Duw gyda chwi etto, a'i Ysbryd yn eich tywys yn ol eich dymuniad arno; a mynych y cawn ninnau yma genad fer a melys odiaeth oddiwrthych gyda chyflymdra y meddwl, a chyda llythyr-gerbyd na ŵyr y byd ddim am dano; eithr ein Tad, ar ein cais, a ddyweda i ni eich hynt!

Dichon eich bod chwi yna yn meddwl ein bod ar ben ein taith cyn hyn; eithr yr achosion penaf a'n cadwodd yn hwy nâ'r rhai a aethant o'n blaen ydynt, o herwydd fod cymmaint o wlawogydd ar y 300 o filltiroedd blaenaf ein taith, fel yr oedd yn anhawdd teithio o herwydd bod olwynion y pedrolfeni yn suddo yn ddwfn iawn weithiau i'r llaid; hefyd, wedi ein dyfod i'r ucheldir yr oedd, ac y mae y borfa yn brin iawn i'r anifeiliaid; ac nid rhyfedd hyn, pan yr ystyrioch ddarfod i o chwech i saith mil o bedrolfeni, bob un yn cael eu tynu gan o dair i chwech iau o ychain, heblaw rhai miloedd o wartheg, defaid, mulod, a cheffylau, basio ar hyd y ffordd hon yn ystod yr haf hwn tua pharadwys y Saint a gwlad yr aur; difa y rhai hyn lawer o borfa, ond beth pe gwelech at hyny yr holl filoedd o buffaloes, antelopes, elks, &c., ag sydd yn perchenogi, gan lwm-bori, yr anialwch a'r crasdir anial a hirfaith hwn; parodd hyn, ac ystyriaethau ereill, i ni ymbwyllo, a boddloni pe teithiem ond o ddeg i ddeuddeg milltir y dydd, a phrofwyd i'n boddlonrwydd cyn hyn, mai dyma yr unig ffordd ag y gallasem gyrhaedd pen ein taith. Nid oes nemawr ddiwrnod a'r nad y'm yn canfod ysgerbydau ychain y rhai a aethant o'n blaen, ar ymylau yr heol, yn gofadail o'u ffolineb yn teithio yn rhy gyflym ar ddechreu taith mor faith â hon. Nid felly y mae gyda ni, na'r Saint ereill, diolch i'r Duw a'n cynnaliodd, tra y gadawa ereill eu hanifeiliaid, eu pedrolfeni, a gwerth miloedd o ddolars o'u nwyddau ar hyd y ffordd, galluogir ni, trwy fendith Duw, i ymlwybro yn mlaen yn gysson a chysurus, er yn araf; a thra y canfyddwn feddau ereill yn aml ar hyd ochr y ffordd, bydd yn llawenydd a thestun diolch genych fel ninnau, nad oes neb wedi marw yn ein gwersyll er pan y cychwynasom o Council Bluffs, na nemawr o afiechyd. Yr y'm ar y daith hon weithian ers dros dri mis, ac wedi teithio 863½ o filltiroedd, wedi esgyn i'r entrych uwchlaw y môr dros 7000 o droedfeddi; ac o'r braidd yn ddiarwybod, cawn ein hunain wedi ein hamgylchynu ar bob llaw braidd â chopäau eiryawg y mynyddoedd creiglyd, pa

rai yn oesawl a breswyliant y cymylau gwynion. O, olygfeydd mawreddig!! Rhy anhawdd eu desgrifio. Y mae rhyngom â Dyffryn y Llyn Halen etto 164 o filltiroedd; etto hyderwn gael pen y daith hon o hyn i ben y pymtheg diwrnod, gyda bendith ein Duw. O, henffych, ddedwydd ddydd! Y mae yr holl Gymry ag sydd gyda mi yma, yn byw megys ag y gweddai i Saint, yn cydnabod Duw yn eu holl ffyrdd, ac yn ei foli foreu a hwyr am eu gwaredu hyd yn hyn o gaethiwed Babilon erlidgar, nes yr adleisia eu lleisiau peraidd ac ungord yn y talpiawg greigiau o'n hamgylch, a braidd na chredem iddynt swyno â'u lleisiau soniarus y bleiddiaid a chwareuant tu allan i'n gwersyll yn mrig yr hwyr, a'u gwneyd hyd yn hyn mor ddiniwed i ni a'n diadell o ddefaid. Er's tuag wythnos yn ol, ymwisgodd natur eu gwisg wen briodasol, fel pe i dderbyn trigolion newydd i agenau y mynyddoedd tragywyddol hyn, taenodd garpet gwyn o flaen drws pob un mewn noson, a thaenodd flanket wen eiryawg yn ysgafn dros ambell un a'r na ofalodd am gau gorchudd ei wagen cyn y nos! Pentyrodd yr eira rhwng y wageni, fel nas gwelswn ambell gymmydog hyd yr hwyr; eithr nid yn ol prophwydoliaethau ein gelynion y buom farw yn yr eira y tro hwn. Hyfryd y tywynodd yr haul yr ail foreu! Buan y newidiodd y ddaearen ei gwisg, ac yn fuan gwelid o ddau i dri chant o wageni yn rhestr fawreddig yn dringo y rhiwiau serth dan ganu caniadau Seion, ac yn gwersyllu yr hwyr dan wên gochrudd haul y gorllewinfyd. Anfonodd y Saint o'r Dyffryn dros 80 iau o ychain, dros 300 o filltiroedd i'n cyfarfod, a mawr y cynnorthwy y'nt i ni. Dyma gariad brawdol teilwng o'i efelychu, a dysgwyliwn ychwaneg bob dydd. Y mae pob newyddion a gawn o'r Dyffryn yn creu llawenydd i'n calonau. Buan y delo miloedd o hil Gomer ar eu hol i'r rhydd wlad hon. Mae y Saint wedi ffurfio talaeth yn California o'r enw talaeth "Deseret" (chwiliwch Lyfr Mormon am ystyr y gair!) ac wedi anfon deiseb at y Llywodraeth Americanaidd am oruchwyliaeth i'r perwyl, yr hyn, os caniatêir yn awr, a gyflawna aml brophwydoliaeth; megys, "Dy swyddogion fydd o honot dy hunan," &c.: "Adferaf dy farnwyr megys cynt, a'th gynghoriaid megys yn y dechreu." Pryd hyn y bydd swyddwyr gwladwriaethol ysbrydoledig, ac heb hyn anmhosibl fod "teyrnas Dduw" yn cael ei sefydlu yn gyflawn, a'i chyfreithiau eu gweinyddu ar y ddaear. Mae pob peth yn gweithio er daioni i'r Saint

yn y diwedd, ac fe gaiff yr holl ddaear wybod hyny cyn pen llawer o amser.

Mae y Cymry yn rhoi i fyny gydag anhawsderau y daith hon, ac yn dysgu gyru ychain yn well na'm dysgwyliad, ac yn ennill clod gan holl wersylloedd ereill y Saint am eu trefnusrwydd, eu rhinweddau, a'u medrusrwydd, ac yn enwedig am eu canu.

Nid rhaid i mi helaethu llawer yma o gynghorion am bethau a darpariadau gogyfer â'r daith, i'r rhai a ddel ar ein hol, o herwydd yr wyf fi a'r Apostolion G. A. Smith ac E. T. Benson wedi ysgrifenu hyny yn fanwl iawn yn mhob peth at y Brawd William Morgans, yr hwn yw llywydd y sefydliad Cymreig yn Council Bluffs, gan ddymuno arno eu hanfon yna i'w cyhoeddi yn Udgorn Seion. Pa le mor bell y chwytha y brawd Davis yn ei Udgorn yn awr? Mae hiraeth ar fy nghalon am glywed ei lais; ni welais yr un er pan eich gwelais chwi. Anfonwch i mi o leiaf 50 o bob rhifyn, gyda rhyw gyfle drwy law y brawd Pratt. Gobeithiaf fod y brawd Davis yn cael y newyddiadur a gyhoedda O. Hyde yn Council Bluffs, yn gysson, yn ol y gytundeb a wnaethum yno. Os daw y cyfarwyddiadau cyfeiriedig uchod i'ch llaw, cyhoedder hwynt yn yr Udgorn, fel y caffo y Saint ereill a'n dilyno ni wybodaeth yn rhad o'r hyn a brynasom ni; sylwant yn fanwl arnynt, er eu lles.

Nis gwn etto pa bryd y caf eich gweled chwi a'r Saint anwyl yna; ond gwn hyn, mai gwir ddymuniad fy nghalon yw eich gweled oll gyda mi yn Seion. Hiraethaf fwy-fwy yn barhaus am eich cyfeillachau, eich cyrddau eglwysig, a'r cymmanfaoedd gwlithog a gawsom.

Gofidia rhai o'r Saint o herwydd ddarfod i'r Cholera Morbus gipio ymaith gynnifer o'n brodyr a'n chwiorydd hynaws, ar ein taith o St. Louis i Council Bluffs, rhag ofn y gwrthddylanwada hyny yn erbyn achos Duw yn Nghymru, ac y rhwystra i'w perthynasau a'u cyfeillion anwyl eu dilyn; eithr meddaf fi, fel Job gynt, â chydwybod ddirwystr, "Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a gymmerodd ymaith; bendigedig fo enw yr Arglwydd,"—nad pa mor boenus oedd i'm teimladau o dan yr amgylchiadau, i angeu yn gerth grafangu fy anwyliaid o'm mynwes; ac ofnaf fod gan erlidwyr y Saint yn Nghymru anghenrheidiach gorchwyl yn nes adref, nâ gosod dim yn ynfyd yn erbyn crefydd Crist, o herwydd marwolaeth ei Saint Ef.

O barthed i'r ymfudiad o Gymru yma, dywedaf etto, megys ag yr ysgrifenais o'r blaen, Deuwch un—O, na allech ddyfod oll ar frys. Agorwch y pyrth, cyhoeddwch gaethion Babilon oll yn rhydd i ddyfod i Seion; etto mewn trefn; nid trwy ffoedigaeth am ennyd etto. Er hyny, pawb a allo feddu o £7 i £8 yn ei logell i gychwyn, cynghorwch i ddyfod hyd Council Bluffs, lle y cyfarfydda â brodyr a chwiorydd Cymreig a charuaidd, â'u breichiau ar led i'w dderbyn a'i gyfarwyddo, os nad alla ddod hyd y ffordd heb aros. Wrth ddweyd hyn, nid wyf yn amcanu i chwi niweidio gwinllan Duw, drwy yru ymaith ormod o'r llafurwyr ar unwaith, ond hyn hefyd mewn trefn. Deued llongaid ar unwaith, a dewiswch saith o henuriaid dewr a ffyddlon i fod yn gynghor yn eu plith, pa rai a fyddant o un galon ac un feddwl, i'w cadw oll o balfau y diafol, canys temtir hwynt yn ddiau yn waeth a mil mwy nag yn Nghymru. Nid oes ond dydd y prawf a brofa y llafur, y gofid, a'r lludded a gefais i'w cadw oll rhag y bleiddiaid hyd yma. * * * *

O barthed i'r cyfoethogion a dalant gost tylodion drosodd, darparant eu calonau i faddeu iddynt y cyfan, os ad-dalant iddynt angharedigrwydd yn ol er y cyfan; etto, na ddiffygiant yn gwneyd daioni, canys mwy fydd eu gwobr gan Dduw. Caiff yr henuriaid lonaid eu breichiau i arwain y cyfan yma a broffesant bob ffyddlondeb cyn cychwyn, etto ymdrechant fwyfwy. O, mor werthfawr yw Ysbryd Duw ar y daith hon er meithrin undeb a chariad, a rhwystro grwgnach; heb hyn ni allai angel arwain cwmni drosodd, debygaf. Gweddiwch beunydd am fwy o hono.

Nid yw fy iechyd etto cystal ag y dymunwn o lawer, na chystal yn yr wythnosau diweddaf ag y bu; ac os yw bosibl, dan bwys y gorlwyth hwn, i undyn wella, dymunwn ran yn ngweddiau fy mrodyr hynaws a'r Saint anwyl, am nerth yn ol y dydd i'w gwasanaethu yn barhaus.

Anerchwch fi a'm gwraig, a'r holl Saint yma, at eich gwraig anwyl a'ch teulu, a'ch cynghorwyr. Byddwch un o galon.

Anerchwch fi yn serchus at gynghor a Saint Merthyr, Dowlais, Aberdâr, Hirwaen, Sir Fynwy, &c.: ond beth wnaf yn dechreu enwi, megys plant fy ymysgaroedd y caraf yr oll yn ddieithriad. Y Duw grasol a'u bendithio, ac a'u hachubo i fywyd tragywyddol.

Anerchwch fi at lywyddion ffyddlawn y cynnadleddoedd, a'r

cangenau. Cofiant fy nghynghorion iddynt yn y gymmanfa ddiweddaf, a phob amser, a'r hyn a gyhoeddais.

Anerchwch fi yn garuaidd at yr holl Saint, yr hyn yw yr oll a allaf ddweyd wrthynt yn awr mor bell oddiwrthynt, gan daer erfyn arnynt, fel ped erfyniai Duw arnynt drwof fi, ar iddynt, er mwyn eu heneidiau eu hunain, ymagweddu yn ol duwioldeb yn mhob peth, fel na ddirmyger yr enw tra gogoneddus a gymmerasant arnynt eu hunain, ar wrandaw o honynt ar gynghorion yr offeiriadaeth, gweddio Duw, a byw yn gariadus, gonest, diwair, a diddrwg; canys felly y cânt fynedfa helaeth i mewn i dragywyddol orphwysfa eu Duw.

Weithian, Saint anwyl, ffarwel i chwi oll am ennyd, er fod genyf fwy o bethau i'w traethu nag y gallaf yn awr oddiyma. Yr Arglwydd grasol a'ch bendithio oll â'i Ysbryd yn helaeth, a'ch cadwo dan erlidiau, a'ch nertho mewn profedigaethau, ac a'ch achubo oll yn ei deyrnas, yw taer weddi

Eich brawd, &c.,

D. JONES.

---

## GOFYNIADAU AC ATEBION.

1. PA fodd y mae egluro 1 Cor. vii, 4,—"Canys y gwr digred a santeiddir trwy y wraig, a'r wraig ddigred a santeiddir trwy y gwr. Pe amgen, aflan yn ddiau fyddai eich plant; eithr yn awr santaidd ydynt."—*T. P.*

Yn ateb i hyn, dyfynwn o'r Athrawiaethau a'r Cyfammodau, dos. 74:—"Yn awr, yn nyddiau yr apostolion yr oedd cyfraith yr enwaediad i'w chael yn mhlith yr holl Iuddewon nad oeddynt yn credu efengyl Iesu Grist. A dygwyddodd i ymrafael mawr gyfodi yn mhlith y bobl ynghylch cyfraith yr enwaediad, o herwydd yr oedd y gwr digred yn chwennych enwaedu ar ei blant, a'u gwneyd yn ddarostyngedig i gyfraith Moses, yr hon gyfraith oedd wedi ei chyflawni. A dygwyddodd fod y plant a ddygid yn gaeth i gyfraith Moses, yn rhoddi coel i draddodiadau eu tadau, ac yn peidio credu efengyl Crist, trwy yr hyn yr oeddynt yn myned yn aflan; o ganlyniad, oblegid hyn yr ysgrifenodd yr apostol at yr eglwys, gan roddi iddynt orchymyn, nid oddiwrth Dduw, ond oddiwrtho ei hunan, am i gredadyn beidio ymuno ag anghredadyn, oddieithr i gyfraith Moses gael eu dileu yn eu plith, fel y

gallo eu plant aros yn ddienwaediad; ac fel y gellid diddymu y traddodiad ag sydd yn dywedyd fod plant bychain yn aflan, o herwydd yr oedd yn mhlith yr Iuddewon; ond y mae plant bychain yn santaidd, wedi eu santeiddio trwy iawn Iesu Grist; a dyma beth mae yr ysgrythyrau yn feddwl."

2. Pa sawl corwm o ddegau a thrugain sydd yn perthyn i Eglwys Iesu Grist, yn y dyddiau hyn?—*Henry*.

Maent yn amrywiol iawn; gwyddom fod mwy nâ deg ar hugain o honynt, a bod y swyddwyr sydd yn eu cyfansoddi o ddwy i dair mil mewn rhifedi. Mae y rhan fwyaf o honynt ar led y ddaear, yn llafurio dan gyfarwyddyd y deuddeg apostol, gwaith pa rai, yn nghyd â'r degau a thrugain, yw pregethu i'r holl genedloedd, a bod yn dystion dros Dduw. Medda y degau a thrugain gyfran o'r apostoliaeth, ond nid i gymmaint o raddau â'r deuddeg.

---

## YR AIL EPISTOL CYFFREDINOL.

Yr ydym o'r diwedd wedi derbyn yr Epistol cyfeiriedig, a'r achos na fuasem yn ei gael yn gynt yw, o herwydd rhyw ddiofalwch neu anffyddlondeb yn y llythyr-dai Americanaidd. Mae ei sylwedd, y rhan fwyaf, wedi ei roddi genym eisoes, a meddyliwn nad oes anghen ei gyhoeddi etto air yn ngair, gan fod ein lle mor fyr, a'r Epistol mor ddiweddar yn dyfod i law. O ganlyniad, dyfynwn ychydig bethau na sylwasom arnynt o'r blaen.

"Ar yr 28ain o Fedi, daeth pedwar-ar-ddeg neu bymtheg o'r brodyr adref o wlad yr aur, rhai o honynt wedi eu diwallu yn weddol o'r metel gwerthfawr, ac ereill, y rhai fuont glaf, a ddychwelasant mor wag â phan yr aethant yn y llong Brooklyn yn 1846. Fod digonedd o aur yn Nghalifornia Orllewinol sydd tu hwnt i ammheuaeth, ond y mae Dyffryn y Sacramento yn le afiachus; a gall y Saint ddefnyddio eu hamser yn well wrth godi llafur, ac adeiladu tai yn y gymmydogaeth, nag wrth gloddio am aur yn y Sacramento, os na fyddant yn cael cynghor i hyny. Gwir ddefnydd aur yw at balmentu ystrydoedd, toi tai, a gwneyd dysglau ceginaidd; ac wedi i'r Saint bregethu yr efengyl, codi llafur, ac adeiladu digon o ddinasoedd, gwna yr Arglwydd agor ffordd i gael aur er perffaith foddlonrwydd i'w bobl; hyd hyny, na fydded iddynt fod yn rhy awyddus, oblegid y mae trysorau y

ddaear yn ystordy yr Arglwydd, a bydd iddo Ef agor ei ddrysau y pryd a'r lle y myno efe."

Mewn perthynas i Drysorfa Ymfudol y Tlodion, llefara yr Epistol fel y canlyn:—

"Dymunwn i bawb ddeall fod y drysorfa hon yn BARHAUS, ac nad yw byth i gyfnewid yn ei dyben o gasglu y tlodion i Seion, tra byddo Saint i'w casglu, os na fydd i'r Hwn sydd â'i hawl i lywodraethu orchymyn yn wahanol. Gan hyny, galwn ar y Llywydd Orson Hyde a'r holl Saint, a'r holl eneidiau haelionus yn mhob man, i osod eu haur, eu harian, a'u hanifeiliaid, gyda ni yn y drysorfa barhaus hon, a chydweithredu ag Esgob Hunter i fynu cymmaint o weddau ag a fo bosibl, yn barod at ymfudiad y gwanwyn nesaf, a bydded i'r tlodion sydd i gael eu helpu, fyned i weithio â'u holl egni, a pharotoi wageni o goed at eu taith. Mae wageni felly, heb ddim haiarn, yn awr i'w cael yn y Dyffryn, ag sydd wedi dyfod o'r taleithiau, wedi gwneyd gwaith da; ac y mae dyfodiad wageni yma wedi bod mor aml y tymmor hwn, fel y maent yn rhad iawn, a haiarn i raddau mewn cyflawnder.

"Mae y drysorfa barhaus hon i fod dan gyfarwyddyd neillduol y Lywyddiaeth bob amser; ac mor fuan ag y dychwelo Esgob Hunter â'r unrhyw, ynghyd â'i lwythi o Saint, i'r lle hwn, caiff yr anifeiliaid a'r gweddau eu gwerthu yn y ffordd oreu, a danfonir y cynnyrch, ynghyd â'r hyn a allwn ni ychwanegu ato, yn union allan ar genadiaeth arall; ac yr ydym am i chwi oll fod yn barod i'w derbyn ac ychwanegu at y drysorfa, ac felly y dymunem ei chynnyddu o flwyddyn i flwyddyn, hyd nes 'pan enir cenedl mewn un dydd,' y gellir ei symud y dydd nesaf, os ewyllysia yr Arglwydd; gan hyny, chwi dlodion a rhai addfwyn y ddaear, dyrchefwch eich penau, a gorfoleddwch yn Sanct Israel, oblegid mae eich gwaredigaeth yn agosâu; ond yn eich llawenydd byddwch yn amyneddgar, o herwydd os na fydd eich tro i ymfudo y flwyddyn gyntaf, nac hyd y nod yr ail, fe ddaw, ac ni oeda, os bydd y Saint sydd yn meddu, mor haelionus â'r rhai hyny yn y dyffryn."

"Mae pob aelod o gorwm y Deuddeg Apostol yn oruchwyliwr i gasglu y degwm, a rhoddion tuag at y drysorfa barhaus at ymfudo y Saint tlodion; a bydd pob casgliadau neu drysorfeydd felly yn ddarostyngedig o hyd i'n hewyllys ni, a'n holl oruchwylwyr yn Ewrop a ddanfonant bob trysorfeydd felly i'n swyddfa

yn Liverpool bob cyfle diogel; a derbynia yr Henuriad Orson Hyde roddion yn y Taleithiau, tuag at y drysorfa barhaus, ar ol i'n goruchwyliwr adael y lle hwnw yn y gwanwyn.

"Tra mae teyrnasoedd, llywodraethau, a thronau, yn syrthio ac yn cyfodi; chwyldroadau yn dilyn chwyldroadau; a chenedloedd y ddaear yn cael eu dymchwelyd; tra mae plaau, heintiau, a newyn, yn rhodio ar led; a chorwynt, tân, a daeargryn, yn cyhoeddi gwirionedd prophwydoliaeth,—bydded i'r Saint fod yn ffyddlawn a diwyd yn mhob dyledswydd, ac yn neillduol ymdrechu sefyll mewn lleoedd dewisol, fel y gallont ddysgwyl dyfodiad Sanct Israel. Ydym, eich brodyr yn y cyfammod newydd,

"BRIGHAM YOUNG,
"HEBER C. KIMBALL,
"WILLARD RICHARDS."

"Dinas y Llyn Fawr Halen, Hyd. 12, 1849.

---

## CRYNODEB O HANES CYMMANFA GYFFREDINOL YN NINAS Y LLYN HALEN.

CYNNALIWYD y gymmanfa uchod ar y 6fed a'r 7fed o Hydref diweddaf, pan oedd yn bresennol gorwm y prif Lywyddiaeth, amryw o gorwm y Deuddeg Apostol, y Patriarch, Llywyddiaeth yr ystâc, Llywyddiaeth corwm yr Archoffeiriaid, yr Uchel Gynghor, a Thomas Bullock, ysgrifenydd y gymmanfa, ynghyd â rhifedi mawr o archoffeiriaid, degau a thrugain, henuriaid, &c.

Gwnaeth y Llywydd H. C. Kimball rai sylwadau rhagorol ar y pwysfawrogrwydd o fod i'r Saint gyflawni yr adduned a wnaethant yn nheml yr Arglwydd yn Nauvoo, na fyddai iddynt laesu yn eu hymdrechiadau nes casglu y tlodion i'r orphwysfa lonydd hon; a'r pwysfawrogrwydd o fod yr henuriaid yn myned â'r efengyl i'r gwahanol genedloedd. Dilynwyd ef ar yr un pwnc gan yr Henuriad John Taylor.

Yna cyfododd Brigham Young, a rhoddodd rai cyfarwyddiadau ynghylch gorphen y Bowery, a dywedodd, "Yr wyf yn teimlo yn hapus am y gysgodfa hon oddiwrth belydrau yr haul a gwyntoedd y gauaf. Teimlaf yn iach yn fy meddwl; mae fy nghalon fel cerbyd Abinadab, yn llawn o lawenydd. Yr wyf yn gweled y dylem gario y deyrnas i genedloedd y ddaear. Mae y bobl hyn,

ar y cyfan, yn bobl dda, ac ymdrechaf wneyd daioni iddynt, a dwyn iachawdwriaeth i holl dŷ Israel, oblegid yr wyf am weled Seion yn cael ei hadeiladu."

Wedi hyny triniwyd llawer o faterion pwysig, a phenderfynwyd i godi trysorfa i gasglu y Saint tlodion i'r Dyffryn. Apwyntiwyd amrywiol i fyned yn genadon i Lloegr a'r gwahanol wledydd Ewropaidd. Penderfynwyd fod pob dyn, mor bell ag y bo bosibl, i sefydlu ei alwedigaeth yn y Dyffryn; ac, fel dechreuad, dymunwyd ar H. G. Sherwood i sefydlu gweithfa gwydr mor fuan ag y bo modd. Yna rheoleiddiwyd Cwmpeini Cludo y Llyn Fawr Halen.

Pleidleiswyd yn unfrydol i ddal i fyny gorwm y prif Lywyddiaeth, corwm y Deuddeg, John Smith fel patriarch yr holl eglwys, Willard Richards fel hanesydd eglwysig, Orson Hyde fel llywydd corwm y Deuddeg Apostol, John Young, Reynolds Cahoon, a George B. Wallace fel llywyddiaeth corwm yr archoffeiriaid, Joseph Young, Levi Hancock, Henry Merriman, Zera Pulsifer, A. P. Rockwood, B. L. Clapp, a J. M. Grant fel prif lywyddiaeth holl gorwmau y degau a thrugain: hefyd, dal i fyny yr Uchel Gynghor, llywyddiaeth yr ystâc, ac yn ddiweddaf, holl awdurdodau yr eglwys trwy'r holl fyd. Yna apwyntiwyd amrywiol o leoedd newyddion er ymsefydlu ynddynt, fel y gwelir yn ein rhifyn am Chwefror.

Wedi gweinyddu y sacrament, prydnawn dydd Sul, fel arferol, gan yr esgobion, cyfododd P. P. Pratt i ddweyd ei brofiad yn nechreuad y gwaith, a'r amser pan y safai y prophwyd Joseph Smith i fyny yn nghanol y gynnulleidfa, a phwyntio allan trwy ddadguddiad bob un ag oedd i gael ei ordeinio i urdd Melchisedec. Yna traddododd ddarlith ar ddegwm; a dangosodd nad oedd yr egwyddor o ddegymu yn perthyn yn unig i'r eglwys neu'r bobl hyn, ond ei bod mor hen â'r Beibl. Gallwn ei gweled yn amser Abram; o herwydd pan y daliai efe allu y deyrnas, talai y ddegfed ran o bob peth a feddai. Er cyflawni cyfraith y degwm, rhaid i ddyn wneyd cyfrif o'i holl feddiannau, a'i osod gerbron yr esgob, a thalu iddo ef y ddegfed; wedi degymu yr eiddo dechreuol unwaith, nid oes achos ei ddegymu drachefn; ond y flwyddyn nesaf, rhaid iddo dalu y ddegfed o'i gynnyrch, a'r ddegfed o'i amser, o'i anifeiliaid, o'i arian, o'i nwyddau, a'i grefft; a pha ddefnydd bynag a wnawn o hono, ein heiddo ni o hyd

ydyw; canys nid yw yr Arglwydd yn myned i'w gymmeryd i'r nefoedd.—Llefarodd Erastus Snow a John Taylor ar yr un pwnc, a therfynwyd y gymmanfa trwy weddi gan Willard Snow; a chyn ymadael, Brigham Young a fendithiodd y bobl yn enw yr Arglwydd, ac ymadawyd mewn llawenydd.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### CYNNADLEDD DDWYREINIOL MORGANWG.

Cymmanfa y gynnadledd hon a gynnaliwyd yn Merthyr, ar y 7fed o Ebrill, pryd y cynnrychiolwyd 23 o gangenau, yn cynnwys 2 o archoffeiriaid, 136 o henuriaid, 90 o offeiriaid, 104 o athrawon, a 60 o ddiaconiaid; bedyddiwyd, 168; torwyd allan, 58; bu farw, 5; ymfudodd, 43. Cafwyd llawer o ddysgeidiaeth gan y Llywydd Phillips a'r brawd Dr. L. Richards, ac ereill, ynghylch amrywiol bethau. Penderfynwyd rhyddhau y brawd J. Davis o fod yn ysgrifenydd i'r gymmanfa hon, ynghyd â thros Gymru, fel y gallo yn well lanw y swyddi o olygydd a chyhoeddwr dros yr Eglwys; a dewiswyd yr Henuriad Henry Evans, o Sir Gaerfyrddin, yn ysgrifenydd i'r Llywydd Phillips yn ei le. Cafwyd cyfarfodydd da.—William Phillips, llywydd; Thomas Harries, ysgrifenydd.

### SIR FYNWY.

Cynnaliwyd y gymmanfa hon ar y 14eg o Ebrill, yn Neuadd y Cwmni, Penycae, pryd y cynnrychiolwyd 17 o gangenau, y rhai a gynnwysai 70 o henuriaid, 30 o offeiriaid, 40 o athrawon, a 22 o ddiaconiaid; 47 wedi eu bedyddio; 26 wedi eu tori allan; 4 wedi marw, ac 1 wedi ymfudo; cyfanrif yn bresennol, 686. Cyflwynwyd cangenau y Garnddiffaith a Blaenafon, i Gynnadledd Sir Henffordd. Neillduwyd D. Jones, Penycae, yn gofnodydd a dosparthwr llyfrau yn y gynnadledd hon o hyn allan. Galwyd amryw i wahanol swyddi. Neillduwyd hefyd yr henuriad William Howells i lywyddu cangen Flower-de-Luce. Treuliwyd y dydd hwn dan lawer o ddyddanwch yr Ysbryd Glân.—Thomas Giles, llywydd; D. Jones, ysgrifenydd.

### SIR GAERFYRDDIN.

Cynnaliwyd cymmanfa chwarterol y gynnadledd hon yn Nghapel y Saint, Llanelli, ar y 14eg o Ebrill, pryd y cynnrychwyd 17 o gangenau, yn cynnwys 65 o henuriaid, 29 o offeiriaid, 28 o athrawon, a 16 o ddiaconiaid; 76 wedi eu bedyddio, 18 wedi eu tori allan, ac un wedi marw, heblaw rhai wedi ymfudo; cyfanswm, 624. Cafwyd cymmanfa dra effeithiol, ac arwyddion gobeithiol iawn. Yr oedd yn bresennol amrywiol o henuriaid o wahanol fanau, yn mhlith pa rai yr oedd y brodyr Dr. Levi Richards o America, Thomas Pugh, Wm. Evans, Evan Williams, &c. Cafwyd areithiau gwresog a doeth trwy'r holl gymmanfa, a

dysgeidiaeth effeithiol er cadarnhad a chymhorth yr holl swyddwyr, yn enwedig yn y cynghor boreu dydd Llun.—Howell Williams, llywydd; Isaac Jones, ysgrifenydd.

SIR FON.

Cynnaliwyd cymmanfa chwarterol Sir Fon, yn Nghaernarfon, ar y 14eg o Ebrill, lle y cynnrychiolwyd pedair o gangenau, yn cynnwys 10 o henuriaid, 6 o offeiriaid, 1 athraw, ac 1 diacon; 3 wedi eu bedyddio er y gymmanfa o'r blaen; 4 wedi eu tori allan, ac un wedi marw. Cawsom dri cyfarfod rhagorol, yn mha rai y pregethodd y brodyr yn effeithiol iawn.—Thomas Morgans, llywydd; Eliezor Edwards, ysgrifenydd.

---

## AMRYWIAETHAU.

Mawrth.—Mae Mawrth yn eglur fis o'r gwanwyn, a'r tymmor mwyaf neillduol i hau. Ei gymmeriad cyffredin, mor bell ag y caniatâ cyfnewidioldeb ein hinsawdd i ni lefaru, yw sychder. Mae rhew y gauaf, wedi ei ddilyn gan wyntoedd llym sychion y mis hwn, yn rhyddhau y ddaear, a'i haddasu i dderbyn yr had. Cyfartaledd cyffredin tymheredd Mawrth yw 41 o raddau. Yn y mis hwn y mae'r coed yn dechreu deilio, y maesydd yn dechreu blodeuo, a'r adar, yn rhaiol, yn dechreu canu.

Ebrill.—Tywydd mwynaidd, gyda chawodydd maethlawn, yw y cymmeriad cyffredin a roddir i fis Ebrill; ond yn yr amser hyn, mae y tywydd yn gyffredin yn wahanol, trwy fod yn sych ac oer-wyntog. Yn ol cyfartaledd, yn wir, y mae mwy o wynt gogleddol, a llai o wlaw, yn y mis hwn nag un arall. Cyfartaledd cyffredin y gwres fesurydd yw 46 o raddau. Y mis hwn yw yr amser arferol i hau barlys. Dyma yr amser mwyaf diwyd yn y gerddi.

Bwyta Gwraig.—"Yr oeddwn yn caru fy ngwraig ar y dechreu," meddai rhyw ddigrif ddyn; "a theimlwn dros y ddau fis cyntaf y gallwn ei bwyta i fyny. Byth oddiar hyny y mae yn ddrwg genyf na wnaethum felly."

Alcohol yw archoffeiriad angeu; a Thybaco yw ei brif ddiacon.

Darllen.—Y mae darllen yn uchel a phwyllog, gan wneyd ymattaliadau mynych, yn llesol i iechyd.

BEIAU.

Mae'n rhwydd i hurtyn pena'r wlad
I ddangos beiau lu yn rhad;
Ond eu diwygio gosta'n ddrud,
I'r rhai sy'n ddoethion penaf byd.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 17.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

CYF. II.] MAI, 1850. [PRIS $2\frac{1}{2}$g.

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;
AR WERTH HEFYD
Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr,
trwy y Deau a'r Gogledd.

1850.

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

☞ Yr oedd yr Henuriad Orson Pratt, yn ninas Louisville, Kentucky, U. D. A., ar y 1af o Ebrill, ar ei ffordd i Council Bluffs.

"D. T."—Gellwch gael gwlaneni o bob math, trwy anfon llythyr a phatrwn at Mr. Jonathan Thomas, Gweydd, Trecastell, Sir Frycheiniog.

"Ifan."—Yr ydym ni yn cymmeryd pob math o lyfrau i'w rhwymo yn y dull a fynir, am brisiau rhesymol; ond nid yw yn talu y ffordd i ni rwymo i neb, ond i'r rhai sydd yn gallu dyfod ag arian i'w hymofyn oddi yma, fel na fydd gwaith cadw cyfrifon, &c., yn eu cylch. Eiddo pawb yw eu llyfrau, a gallant eu rhwymo lle y dewisont, a lle y gallont eu cael rhataf; ond credwn ein bod yn rhwymo mor rhad â neb yn y parthau hyn, a gallwn ddweyd hefyd yn harddach na llawer.

"J. J."—Mae yn hollol anweddaidd i swyddogion ar hyd y tai i ymgecru â'u gilydd ynghylch geiriau. Nid yn unig y mae hyny yn niweidiol i'r Saint a'r byd, ond i'r swyddogion eu hunain. Maent trwy hyny yn tristâu Ysbryd Duw, ac yn achosi anghydfod.

"J. E."—Mae y stori am y Parchedig yn gwrthod gweinyddu ychwaneg heb y saith a chwech, yn bur ddifyrus, ond gwell gadael iddo; trueni yw dial ar y Parchedigion am eu celwyddau ar y Saint, er fod gormod i ddweyd.—Mae y Dybaco yn rhy ffiaidd i siarad rhagor yn ei gylch; yr ydym yn clywed fod y Saint yn ei adael yn mhob cwr o'r wlad, a mawr dda iddynt.

☞ Bu yr Apostolion F. D. Richards a Lorenzo Snow yn bresennol mewn cymmanfa yn y Casnewydd ar y 19fed o Fai; a meddyliem y caffem eu gweled yn y Deheudir, ond yr oeddynt wedi addaw bob yn Bath y Sabboth canlynol, ac felly collasom ein braint.

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg, yn Merthyr, ar y 7fed o Orphenaf, a chymmanfa Orllewinol Morganwg, yn Abertawy, ar yr un pryd; a chynnelir cymmanfa Sir Fynwy, ar y 14eg, ac yn Nghaerfyrddin ar yr un pryd.

☞ Wedi dechreu argraffu, daeth llythyr i'n llaw o New Orleans, dyddiedig Ebrill 19, 1850, yn hysbysu fod y Saint wedi tirio yn ddiangol ac yn iach.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 17.] MAI, 1850. [CYF. II.

## Y DEGWM.

YMDDENGYS fod cryn gam ddealltwriaeth yn mhlith y Saint mewn perthynas i'r Degwm, yr hwn sydd at adeiladu tŷ i Dduw Jacob yn y mynyddoedd. Nid casgliadau ddylai gael eu gwneuthur, eithr codi y degwm oddiwrth y rhai sydd yn alluog i'w dalu. Mae yr holl gynnadleddau wedi cael eu dysgu yn fanwl ynghylch y cyfan gan Orson Pratt, trwy gyfieithad Capt. D. Jones, yn *Mhrophwyd* Hydref, 1848, tud. 152; ac er mwyn darllenwyr yr UDGORN, ac er addysg cyffredinol, cyhoeddwn y cyfarwyddiadau hyny etto.

"Gosodwyd arnaf hefyd," medd yr Apostol O. Pratt, "i dderbyn degymau y Saint, a danfon yr unrhyw i'r prif lywyddion yn 'Ninas y Llyn Halen,' i'r dyben o adeiladu yn y mynyddoedd, dy i Dduw Jacob. Eglurwyd cyfraith y degwm trwy ddadguddiad er's amryw flynyddau, a hi a barha mewn grym yn mhlith yr holl saint drwy eu cenedlaethau. Gofyna y gyfraith hon gyfranu y degfed o eiddo y Saint, i gario yn mlaen deyrnas a gwaith y Goruchaf ar y ddaear, ac wedi hyny y degfed o'r cynnydd yn flynyddol. Diddadl fod llawer o Saint yn y wlad hon yn rhy dylawd i ufyddhau i'r gyfraith hon, megys gweithwyr tylodion, pa rai a ddibynant ar eu diwrnod gwaith am eu tamaid bara beunyddiol. Oddiar law y cyfryw ni ddysgwylir degwm; canys byddai hyny yn ormes arnynt hwy a'u teuluoedd. Gwell fyddai i'r cyfryw dderbyn na chyfranu. Y mae ereill, nid mor dylawd â'r dosparth a nodwyd, ond yn gallu rhoi heibio

swllt, neu ddau, neu dri yn yr wythnos o'u hennill, a hyny gogyfer ag ymfudo, &c. Ni ofynir degwm gan y cyfryw. Mae dosparth arall mewn gwell amgylchiadau, y rhai a allant gyfranu eu degwm, heb ddrygu eu hunain na'u teuluoedd, na dyrysu eu hamcanion i ymfudo; gan y cyfryw ei dysgwylir ynte; ac ni allant fod yn esgusodol yn ngwydd Barnwr y calonau wrth esgeuluso ei dalu. Dichon y dywed rhywun, 'Yr wyf fi yn foddlon i'w dalu, ond y mae fy meddiannau yn y fath gyflwr, fel nas gallaf fwynhau y degfed o hono yn awr.' Cynghorwn y cyfryw i brysuro i ddwyn eu hamgylchiadau i'r fath fodd ag y gallant fwynhau, nid yn unig y *degfed*, ond yr *oll* o hono. Ymdrechwch ryddhau yr oll o hono, fel y galloch nid yn unig dalu eich degwm, ond myned eich hun gyda'r gweddill o'ch meddiannau, i fynyddoedd yr America—i ddinas y Saint—i le enw Arglwydd y lluoedd. Yn gwneuthur hyn chwi a fendithir. A dyma yr unig lwybr diogel i chwi ei droedio; hyn yw ewyllys Duw, a dyma ei gynghor. Gwyn fyd y rhai a wnant felly; hwy a flodeuant fel y llawrydd werdd mewn gwlad ffrwythlon, ac ni wywant; eu plant a dyfant fel helyg wrth ffrydiau dyfroedd, ac a fyddant anrhydeddus yn mhlith plant Duw. Eithr gwae i'r cybyddlyd, yr hwn a gara ei feddiannau yn fwy nag y cara ufyddhau i orchymynion Duw; canys hwy a drengant, a'u cyfoeth a dderfydd, ac ni chânt etifeddiaeth yn mhlith y rhai a ddegymwyd; hwy a wywant ac a ddarfyddant yn gyffelyb i'r soft ag sydd yn barod i'r llosgfa, ac ni cheir eu henwau yn nghroniclau y rhai cyfiawn.

"Bydded i'r swyddogion eglwysig hyfforddi a dysgu i'r Saint iawn-ddealltwriaeth am gyfraith y degwm, fel nad arhoso y Saint yn anwybodus am hyny. Gellir anfon arian y degymau i mi drwy y *Post office*, neu rywffordd arall a fernir yn ddiogel, ynghyd ag enwau yr anfonwyr, fel y cronicler yn y llyfr."

Gobeithiwn yn awr yr attalia y llywyddion yn mhob man y dull presennol o gasglu arian oddiwrth y tlodion; canys nid hwy, ond y rhai sydd yn meddu mwy nâ digon i ymfudo, ddylai roddi y ddegfed ran o'u heiddo yn ddegwm. Wrth gwrs, y Llywydd William Phillips fydd y prif ddirprwywr i dderbyn degymau o'r holl gynnadleddau. Gofaled y llywyddion i osod hyn o flaen y rhai galluog yn mhob cangen, fel na fydd eisieu dweyd ette.

## Y DRYSORFA YMFUDOL BARHAUS.

BYDDED i'r cyfarwyddiadau a roddwyd gan yr Apostol Franklin D. Richards ynghylch y drysorfa uchod, yn Udgorn Ebrill, gael eu gosod mewn gweithrediad cyffredinol trwy bob cangen a chynnadledd, yn lle y casgliadau at y deml; ac apwyntio trysorwr yn mhob cangen a chynnadledd, fel y dysga y brawd Richards; a danfoner y casgliadau, ynghyd â'r cyfrif, a'r enwau yn llawn i Ferthyr, at y Llywydd Phillips, fel y gallo yntau eu gyru i'r Llywydd Orson Pratt, neu F. D. Richards. Dysgwylir yn hyderus y bydd gwaith mawr yn cael ei gyflawni trwy y drysorfa hon; ac os bydd y Saint yn y wlad hon mor ffyddlawn ag y bu y Saint Americanaidd yn ddiweddar, cymmer y fath ymgasgliad le na welwyd ei gyffelyb er dyddiau Adda. Os bydd i'n brodyr yn mhob man wneyd sylw priodol o'r hyn sydd yn ymddangos yn yr UDGORN, ni fydd achos iddynt fod yn anwybodus ynghylch y drefn o gario pob peth yn mlaen.

## TRAETHODAU.

NID cyfansoddi, argraffu, a chyhoeddi llyfrau yn unig, yw ein gwaith ni, ond yr ydym wedi ein gosod yn ddosparthwr cyffredinol i'w gwerthu, ac annog pawb o'r Saint i gymmeryd rhan o'r gwaith. Mae yn ofidus genym i adrodd fod llaweroedd o ganghenau yn y Deheudir, heb weled ond ychydig neu ddim o'r gwahanol draethodau a gyhoeddir o bryd i bryd; ac felly yn cael eu hamddifadu o'r prif offerynau sydd yn nwylaw gweision Duw "i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, i adeiliad corff Crist." Nid ydym yn arferol o fod mor eofn â danfon llyfrau i un man heb orchymyn, er fod llawer yn dysgwyl hyny. Mae hysbysiad yn cael ei roddi o bob traethawd newydd, yn nghyd â'r pris; a dyledswydd y cangenau yw danfon am gymmaint a fyddo yn eisieu, ac nid gadael aelodau pellenig i ddyfod yma i brynu rhai iddynt eu hunain. Mae llawer o egwyddorion wedi eu dysgu mewn llyfrau genym, na ŵyr llawer o'r Saint ddim am danynt. Gwyddom fod y rhan fwyaf o dderbynwyr yr UDGORN yn sychedig am gopi o bob peth a ddaw allan; ac y mae yn drueni mawr, yn mhob ystyr, nad allai y llywyddion ddanfon am danynt. Mae y Gogledd, i raddau yn esgusodol, o

herwydd pellder; ond ni allwn lefaru felly am amrywiol o gangenau cyfagos. Pa fodd y gellir dysgwyl i'r Saint gynnyddu mewn gwybodaeth, tra nad yw llawer o honynt yn darllen dim. Mae yn rhwydd iawn i ni, neu i lywyddion y cynnadleddau, i wybod pwy sydd yn gwneuthur defnydd o'r hyn a ysgrifenir. Y mae esgeuluso trysori gwybodaeth o lyfrau, yn waeth nag esgeuluso o un ffynnonell arall, am fod yr hyn a ysgrifenir yn fwy trefnus a dealladwy na'r hyn a bregethir, ac o ganlyniad yn fwy pur. Mor effeithiol y gallai prif Lywyddiaeth Cymru ddysgu y Saint oll, pe buasai pawb yn darllen, ac yn ymdrechu deall a gwneuthur yn ol yr hyn a ddarllenent. Os oes rhywun heb fedru darllen ei hunan, y mae mewn gwlad lle y gall gael ereill i wneyd hyny drosto. Beth pe byddai yr holl Saint nad allant ddarllen, yn ceisio gan rai o'u cymmydogion anghrediniol i ddarllen iddynt; —pwy wyr y lles a allasent wneuthur? Ond pwy sydd gyda'r Saint nad all ddysgu darllen? O mor ofer y treulia rhai eu hamser i chwedleua, yn lle trysori gwybodaeth ag y mae ereill yn gasglu drostynt, dan lawer o anfanteision fel hwythau. Gellir ffurfio barn am esgeulusdod llawer a fedrant ddarllen, pan y dywedwn fod tri neu bedwar wedi galw arnom oddiar pan ddechreuasom ysgrifenu hwn, yn ein cwestiyno ynghylch yr hyn a atebasom yn ein rhifyn diweddaf am drwyddedi, a phwy sydd i'w harwyddo. Mae ymddygiadau o'r fath yn tueddu i'n perswadio fod ein gwaith o ysgrifenu yn gwbl ofer. Gobeithiwn y cywilyddia y swyddogion yn neillduol, ac y diwygiant. Mae gorchymyn pendant yn yr "Ath. a'r Cyf." i'r Saint chwilio am wybodaeth a doethineb allan o lyfrau. Na ddysgwylier i Ysbryd Duw gyfranu doethineb a gwybodaeth o'r nefoedd, cyn y chwilir yn gyntaf am yr hyn a ellir gael mewn llyfrau.

Annogwn yr holl swyddogion a'r Saint, hyd ag y mae yn eu gallu, i brynu copi o bob llyfr a ddaw allan, nid yn unig iddynt eu hunain, ond i'w plant hefyd, tra y mae yn amser cyfaddas i'w cael; yn lle gwaeddi am ail-argraffiad, pan na fyddant i'w cael. Wedi myned yn rhy ddiweddar y mae llawer yn dyfod i weled yr anghen o brynu llyfrau. Er ychydig o anghlod i'n cenedl ein hunain, mae ffeithiau yn ein dysgu fod yr ychydig Saeson yn Nghymru gyda'r Saint, yn ol eu rhif, yn fwy awyddus na'r Cymry i brynu a darllen llyfrau. Gall y rhai sydd yn darllen y *Star* weled y symiau a dalwn bob chwarter am lyfrau

Seisnig. Ni ddylai hyn fod; canys gwyddom fod y Cymry mor gryf eu cynneddfau â hwythau, ac mor ymchwilgar hefyd, ond cael chwarae teg oddiwrth eu llywyddion. Yn awr, mae cyfleusdra yn cael ei roddi, a bydded iddynt ddangos eu bod mor barod â'u brodyr anwyl y Saeson i chwilio i mewn i ddirgelwch teyrnas Dduw. Mae gwaith mwyaf gorchestol y Saeson yn cael ei effeithio trwy ddosparthiad traethodau ar hyd y wlad; gall y Cymry hefyd gymmeryd y ffordd hono yn awr, fel y crybwyllasom ar amlen yr UDGORN diweddaf. Daw y Saint i ddeall ar fyrder na fydd dim yn fwy effeithiol i argyhoeddi y digred, na dosparthu traethodau. Cymmered y Saint yr awgrymiadau hyn oddiwrthym, gan weddio drosom, a phrophwydwn y bydd eu llwyddiant yn fawr, ac y deuant etto i gyd-weled â ni.

---

## Y PARCHEDIG A'R PAGAN.

PARCHEDIG.—Wel, gyfaill, pa beth a feddyliwch am ein crefydd ni yn awr, canys mi welaf eich bod wedi darllen llawer ar y Beibl.

Pagan—Wel, yn wir, syr, mae yn rhaid cyfaddef, yn ol yr hyn a ddarllenais yn y Testament Newydd, yr hwn a ddywedasoch, fod pob gair o hono yn wir, fod eglwys Dduw yn rhagori llawer ar ddim a glywais son am dano o'r blaen. Mae llawer o honom ni, greaduriaid duon, yn diolch am gael gafael ar y fath oleuni, ac yn penderfynu gadael y duwiau pren a maen, ac arddel eich Duw chwi.

Parch.—Pa ranau a fuoch chwi yn ddallen?

Pagan—Y ddeuddegfed bennod o l Corinthiaid; mae y 28 adn. yn dweyd i Dduw osod yn yr eglwys, "yn gyntaf apostolion, yn ail prophwydi, yn drydydd athrawon; yna gwyrthiau, wedi hyny doniau i iachâu, cynnorthwyau, llywodraethau, rhywiogaethau tafodau." Mae pethau felly yn ardderchog.

Parch.—Ond cofiwch, gyfaill bach, nid yw y pethau yna yn yr eglwys yn awr.

Pagan—A oes dim apostolion ynddi?

Parch.—Nac oes, canys nid oes eu heisieu yn yr oes hon.

Pagan—Mae ynddi brophwydi, feallai?

Parch.—Nac oes; mae y rhai hyny hefyd wedi eu tynu o'r eglwys.

Pagan—Mae llawer o wyrthiau ynddi, ond odid; canys y mae eich Duw chwi yn alluog iawn, ac yn gwneuthur pethau mawrion.

Parch.—Gwyrthiau yn wir! nac oes un. Gwell i chwi fyned i Brydain at y Mormoniaid, os ydych am ddwlni felly.

Pagan—Wel, fe allai fod doniau iachâu ynddi, ynte. Mae y rhai hyny yn sicr o fod yn ddefnyddiol iawn.

Parch.—Na, nid yw y rhai hyny ynddi ychwaith yn awr, ac nid oes eu heisieu mwyach.

Pagan—Wel, beth am y rhywiogaethau tafodau, &c.: mae yn rhaid fod rhai o honynt hwy genych.

Parch.—Gyfaill bach, y maent oll wedi darfod yn wir.

Pagan—Wel, syr, chwi sydd yn gwybod oreu am hyny: ond fe wn i hyn, os yw yr holl bethau a osododd eich Duw chwi yn ei eglwys wedi eu tynu allan o honi, neu wedi darfod, mae yn eglur ddigon fod yr *eglwys* wedi darfod hefyd. Hwriwch, dyma eich Beibl yn ol i chwi; mae ef neu chwi yn gelwyddog iawn. Meddyliais losgi fy eilun-dduw neithiwr, ond y mae yn dda genyf yn awr na wneuthum felly, onide buaswn heb dduw na chrefydd yn y byd.

---

## DIAREBION.

Pa fwyaf fyddo yr anhawsdra mwyaf i gyd fydd y gogoniant am ei orchfygu.

Mae y llong-lywydd medrus yn ennill ei gymmeriad oddiwrth ystormydd a thymhestloedd.

Dedwyddwch sydd flodeuyn ochr ffordd, yn tyfu ar brif-ffyrdd defnyddioldeb.

Na ddiraddiwch un dyn â beiau ei berthynasau.

Ni wna dyn da byth ddysgu yr hyn nad yw yn gredu.

Mae dau fath o ddynion y rhai ydynt yn anhawdd i'w cysuro, sef y dyn cyfoethog, pan fyddo yn gweled ei hunan yn marw; a'r fenyw hardd, pan fyddo ei glendid yn darfod.

Mae pechod a gofid yn anwahanadwy; nis gellir gadael un i mewn, a chau y llall allan; yr hwn sydd yn nofio mewn pechod, a raid soddi mewn gofid.

Gwna dda i'th gyfaill, fel y byddo yn fwy o gyfaill i ti; gwna dda i'th elyn, fel y byddo i ti ei droi yn gyfaill.

# DARLITHIAU JOSEPH SMITH AR FFYDD.

## DARLITH VI.

WEDI sylwi yn y darlithiau blaenorol ynghylch y meddylddrychau o gymmeriad, perffeithderau, a phriodoleddau Duw; cawn yn nesaf sylwi ynghylch y wybodaeth sydd yn rhaid i bersonau gael, fod y dull o fywyd a ddilynant yn unol ag ewyllys Duw, fel y byddont yn cael eu galluogi i weithredu ffydd ynddo ef i fywyd ac iachawdwriaeth.

Mae y wybodaeth hon yn llanw lle pwysig mewn crefydd ddadguddiedig; oblegid trwyddi y galluogid yr henafiaid i ddyoddef megys yn gweled yr hwn sydd yn anweledig. Mae gwybodaeth wirioneddol i unrhyw berson fod y dull o fywyd a ddilyna yn unol ag ewyllys Duw, yn anghenrheidiol anhebgorol er ei alluogi i gael yr ymddiried hwnw yn Nuw, heb yr hwn ni all neb gyrhaedd bywyd tragywyddol. Hyn oedd yn galluogi y saint cyntefig i ddyoddef eu holl flinderau a'u herlidigaethau, ac i fod yn llawen pan yr yspeilid hwy o'u meddiannau, gan wybod (nid credu yn unig) fod ganddynt hwy olud mwy parhaus. Hebreaid x, 34.

Gan eu bod yn meddu sicrwydd eu bod yn dilyn dull ag oedd yn unol ag ewyllys Duw, galluogid hwynt i gymmeryd, nid yn unig yspeiliad eu nwyddau a dystrywiad eu heiddo, yn llawen, ond hefyd i ddyoddef marwolaeth yn ei ddulliau erchyllaf; gan wybod (nid credu yn unig) fod ganddynt, pan fyddo eu daearol dŷ o'r babell hon yn ymddattod, adeilad gan Dduw, tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd. 2 Corinthiaid v, 1.

Y fath oedd, ac a fydd o hyd, sefyllfa saint Duw, fel os na fydd ganddynt wybodaeth eglur fod y llwybr a ddilynant yn unol ag ewyllys Duw, ânt yn anesmwyth yn eu meddyliau, a diffygiant: o herwydd y fath ydyw y gwrthwynebiad sydd wedi bod, ac i fod o hyd, yn nghalonau anghredinwyr a'r sawl nad adwaenant Dduw, yn erbyn efengyl bur a dihalog y nefoedd (yr unig beth sydd yn sicrhau bywyd tragywyddol), fel yr erlidiant hyd yr eithaf bawb a addolant Dduw yn ol ei ddadguddiadau, a dderbyniant y gwirionedd yn y cariad o hono, ac a ymddarostyngant eu hunain i gymmeryd eu harwain a'u cyfarwyddo gan eu hewyllys; a'u gyru hwynt i'r fath eithafoedd, fel nad allai dim yn fyr o wybod-

aeth sicr o'u bod yn anwyliaid y nefoedd, a'u bod wedi derbyn y cynllun hwnw a sefydlodd Duw er achub dyn, eu galluogi hwynt i weithredu yr ymddiried hwnw ynddo sydd yn anghenrheidiol iddynt er gorchfygu y byd, a meddu y goron hono o ogoniant a roddir yn nghadw i'r rhai a ofnant Dduw.

Er i ddyn roddi i lawr ei gyfan, ei gymmeriad a'i air da, ei anrhydedd a'i ganmoliaeth, ei enw da yn mhlith dynion, ei dai, ei diroedd, ei frodyr a'i chwiorydd, ei wraig a'i blant, ac hyd y nod ei fywyd ei hun hefyd—yn cyfrif pob peth yn dom ac yn golled er mwyn godidawgrwydd gwybodaeth Iesu Grist—gofyna fwy nag yn unig grediniaeth neu dybiaeth ei fod yn gwneuthur ewyllys Duw; ond gwybodaeth sicr, yn gwirio y caiff, wedi i'r dyoddefiadau hyn ddarfod, fyned i mewn i dragywyddol orphwysfa, a bod yn gyfranog o ogoniant Duw.

O herwydd os na fydd person yn gwybod ei fod yn rhodio yn ol ewyllys Duw, buasai yn taflu sarhad ar urddas y Creawdwr, pe dywedai y byddai efe yn gyfranogwr o'i ogoniant pan fuasai wedi darfod â phethau y bywyd hwn. Ond pan fyddo ganddo y wybodaeth hon, ac yn gwybod yn ddiammheuol ei fod yn gwneuthur ewyllys Duw, gall ei ymddiried fod yr un mor gryf y bydd yn gyfranogwr o ogoniant Duw.

Gadewch i ni sylwi yma, nad yw crefydd na ofyno aberthiad o bob peth, byth yn meddu digon o allu i gynnyrchu y ffydd anghenrheidiol i fywyd ac iachawdwriaeth; o herwydd, oddiar fodolaeth cyntaf dyn, ni ellid byth meddu y ffydd anghenrheidiol er mwynhau bywyd ac iachawdwriaeth, heb aberthiad o bob peth daearol. Trwy yr aberthiad hwn, a hwn yn unig, y mae Duw wedi ordeinio i ddynion fwynhau bywyd tragywyddol; a thrwy gyfrwng yr aberthiad o bob peth, y mae dynion yn gwybod eu bod yn gwneuthur y pethau sydd yn gymmeradwy yn ngolwg Duw. Pan fyddo dyn yn cynnyg aberthu pob peth sydd ganddo er mwyn y gwirionedd, heb hyd y nod arbed ei fywyd, a chredu gerbron Duw ei fod wedi ei alw i wneyd yr aberthiad hwn oblegid ei fod yn ceisio gwneuthur ei ewyllys, y mae yn gwybod, yn ddiammheuol, fod ac y gwna Duw dderbyn ei aberth a'i offrwm, ac nad ydyw wedi, ac na wna, geisio ei wyneb ef yn ofer. Dan yr amgylchiadau hyn, ynte, gall efe gyrhaedd y ffydd anghenrheidiol er iddo ddal gafael ar fywyd tragywyddol.

Ofer yw i bersonau ddychymmygu iddynt eu hunain eu bod yn

etifeddion gyda'r rhai hyny, neu y gallant fod yn etifeddion gyda hwynt, ag sydd wedi offrymu eu holl eiddo yn aberth, a thrwy hyny feddu ffydd yn Nuw a ffafr gydag ef, fel ag i gyrhaedd bywyd tragywyddol, os na fydd iddynt hwy, yn yr un modd, offrymu iddo ef yr un aberth, a thrwy yr aberth hwnw, gyrhaedd y wybodaeth o'u bod wedi eu cymmeradwyo ganddo ef.

Wrth offrymu aberthau y cafodd Abel, y merthyr cyntaf, wybodaeth o'i gymmeradwyaeth gyda Duw. Ac o ddyddiau Abel gyfiawn hyd yr amser presennol, mae y wybodaeth sydd gan ddynion eu bod yn gymmeradwy yn ngolwg Duw, yn cael ei meddu trwy offrymu aberth. Ac yn y dyddiau diweddaf, cyn y delo yr Arglwydd, y mae i gasglu ynghyd ei saint ag sydd wedi gwneuthur cyfammod ag ef, trwy aberth. Salm i, 3, 4, 5. "Ein Duw ni a ddaw, ac ni bydd dystaw: tân a ysa o'i flaen ef, a thymhestl ddirfawr fydd o'i amgylch. Geilw ar y nefoedd oddiuchod, ac ar y ddaear, i farnu ei bobl. Casglwch fy saint ynghyd ataf fi, y rhai a wnaethant gyfammod â mi trwy aberth."

Y rhai hyny, ynte, sydd yn gwneuthur yr aberth, a gânt y dystiolaeth o fod eu llwybr yn dda yn ngolwg Duw; a'r rhai hyny sydd â'r dystiolaeth hon ganddynt, a gânt ffydd i ddal gafael ar fywyd tragywyddol, ac a alluogir, trwy ffydd, i barhau hyd y diwedd, ac i dderbyn y goron a gedwir i'r rhai a garant ymddangosiad yr Arglwydd Iesu Grist. Ond ni all y rhai hyny nad ydynt yn gwneyd yr aberthiad fwynhau y ffydd hon, o herwydd y mae dynion yn ddibynol ar yr aberthiad hwn mewn trefn i feddu y ffydd hon: o ganlyniad, ni allant ddal gafael ar fywyd tragywyddol, o herwydd nid yw dadguddiadau Duw yn sicrhau iddynt yr awdurdod i wneuthur felly, ac heb y sicrhad hwn ni allai ffydd fodoli.

Darfu i'r holl saint am y rhai y mae genym hanes yn holl ddadguddiadau Duw sydd mewn bod, gyrhaedd y wybodaeth a feddent o'u cymmeradwyaeth yn ei olwg, trwy yr aberth a offrymment iddo ef; a thrwy y wybodaeth a gyrhaeddwyd fel hyn, daeth eu ffydd yn ddigon cryf i ddal gafael yn yr addewid o fywyd tragywyddol, ac i ddyoddef yn gweled yr hwn sydd yn anweledig; a galluogwyd hwynt trwy ffydd, i ymladd â galluoedd y tywyllwch, ymdrechu yn erbyn dichellion y gwrthwynebydd, gorchfygu y byd, a chyrhaedd amcan eu ffydd, hyd y nod iachawdwriaeth eu heneidiau.

Ond y rhai hyny nad ydynt wedi gwneyd yr aberthiad hwn i Dduw, ni wyddant fod y llwybr a ddilynant yn gymmeradwy yn ei olwg; canys pa beth bynag oedd eu crediniaeth neu eu hopiniwn, yr oedd yn fater o ammheuaeth ac ansicrwydd yn eu meddwl; a lle byddo ammheuaeth ac ansicrwydd, nid yw ffydd yno, ac nis gall fod. O herwydd nid yw ammheuaeth a ffydd yn bodoli yn yr un person ar yr un amser; felly nid all personau sydd â'u meddyliau dan ammheuon ac ofnau, feddu ymddiried diysgog; a lle na byddo ymddiried diysgog, y mae ffydd yno yn wan; a lle byddo ffydd yn wan, ni fydd y personau yn alluog i ymdrechu yn erbyn y gwrthwynebiadau, y trallodion, a'r blinderau a gyfarfyddant mewn trefn i fod yn etifeddion i Dduw, a chyd etifeddion â Christ Iesu; ac ânt yn flinedig yn eu meddyliau, a chaiff y gwrthwynebwr allu drostynt i'w dystrywio hwynt.

## DARLITH VII.

Yn y darlithiau blaenorol yr ydym wedi sylwi pa beth oedd ffydd, a'r gwrthddrych ar ba un a gorphwysai. Yn unol â'n cynllun, awn yn awr yn mlaen i lefaru am ei heffeithiau.

Gan ein bod wedi gweled mewn darlithiau blaenorol, mai ffydd oedd yr egwyddor o weithrediad ac o allu yn mhob bod deallgar, yn y nefoedd ac ar y ddaear, ni ddysgwylir i ni, mewn darlith o'r fath hyn, gynnyg dadguddio ei holl effeithiau; nid yw ychwaith yn anghenrheidiol i'n dyben i wneuthur felly, oblegid buasai yn cynnwys pob peth yn y nefoedd ac ar y ddaear, ac amgylchu holl greadigaethau Duw, ynghyd â'u holl amrywiaethau diddiwedd; o herwydd ni ffurfiwyd un byd etto na ffurfiwyd trwy ffydd, ac ni fu ychwaith un bod deallgar ar un o greadigaethau Duw, yr hwn ni ddaeth yno trwy ffydd fel ag y bodolai ynddo ef ei hun neu mewn rhyw fod arall; ni fu cyfnewidiad na chwyldroad yn un o greadigaethau Duw, na effeithiwyd trwy ffydd; ac ni fydd cyfnewidiad na chwyldroad, os na effeithir ef yn yr un dull, yn un o greadigaethau eang yr Hollalluog, o herwydd trwy ffydd y mae y Duwdod yn gweithio.

Gadewch i ni yma gynnyg rhyw eglurhad mewn perthynas i ffydd, fel y byddo ein meddwl yn cael ei amgyffred yn eglur. Gofynwn, ynte, pa beth sydd i ni ei ddeall wrth fod dyn yn gweithio trwy ffydd? Atebwn—yr ydym yn deall, pan fyddo

dyn yn gweithio trwy ffydd, ei fod yn gweithio trwy ymegniad meddyliol yn lle trwy allu corfforol. Trwy eiriau, yn lle ymdrechu â'i alluoedd corfforol, y mae pob bod yn gweithio pan y mae yn gweithio trwy ffydd. Dywedodd Duw, "Bydded goleuni, a goleuni a fu." Llefarodd Joshua, a'r goleuadau mawrion a greodd Duw a safasant yn llonydd. Gorchymynodd Elias, a chauwyd y nefoedd am yr yspaid o dair blynedd a chwe mis, fel na wlawiodd ddim; gorchymynodd drachefn, a'r nefoedd a ollyngodd wlaw i waered. Gwnaed hyn oll trwy ffydd. A dywed yr Iachawdwr, "Pe byddai genych ffydd gymmaint â gronyn o had mwstardd, chwi a ellych ddywedyd wrth y sycamorwydden hon, Ymddadwreiddia, a phlaner di yn y môr; a hi a ufyddhäai i chwi." Mae ffydd, ynte, yn gweithio trwy eiriau; a thrwy y rhai hyn yr oedd, ac y bydd, ei gweithredoedd mwyaf nerthol yn cael eu cyflawni.

Yn ddiau ni ofynir genym i brofi mai dyma yr egwyddor ar ba un y mae holl dragywyddoldeb wedi, ac etto i, weithredu; o herwydd rhaid i bob meddwl ystyriol wybod, mai trwy y gallu hwn y mae holl luoedd y nefoedd yn cyflawni eu gweithredoedd o ryfeddod, mawredd, a gogoniant. Symuda angylion o le i le trwy rinwedd y gallu hwn? trwyddo y galluogir hwynt i ddisgyn o'r nefoedd i'r ddaear; ac oni buasai y gallu o ffydd, ni allent byth fod yn ysbrydion gwasanaethgar i'r rhai a fyddent etifeddion iachawdwriaeth, ac ni allent ychwaith weithredu fel cenadon nefol, oblegid byddent yn amddifad o'r gallu anghenrheidiol er eu galluogi i wneuthur ewyllys Duw.

Nid yw ond yn anghenrheidiol i ni ddweyd fod yr holl greadigaeth weledig, fel ag y mae yn bodoli yn awr, yn effaith ffydd. Trwy ffydd y cafodd ei ffurfio, a thrwy allu ffydd y mae yn parhau yn ei ffurf sefydledig, a thrwy yr hon y mae'r planedau yn symud oddiamgylch eu cylchdroadau a gwreichioni allan eu gogoniant. Felly, ynte, ffydd yn ddiau yw yr egwyddor gyntaf yn y wyddoreg o DDUWINYDDIAETH, ac wedi ei deall arweinia y meddwl yn ol at y dechreuad, ac a'i caria yn mlaen at y diwedd; neu, mewn geiriau ereill, o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb.

Gan mai ffydd, ynte, yw yr egwyddor trwy yr hon y mae'r lluoedd nefol yn cyflawni eu gweithredoedd, a thrwy yr hon y maent yn mwynhau eu holl ddedwyddwch, gallwn ddysgwyl ei bod yn cael ei gosod allan mewn dadguddiad oddiwrth Dduw, fel

yr egwyddor ar ba un y rhaid i'w greaduriaid ef i lawr yma weithredu, mewn trefn i gyrhaedd y dedwyddwch a fwynheir gan y saint yn y byd tragywyddol; ac y buasai Duw, pan gymmerai arno i gyfodi dynion i fyny er mwynhad iddo ei hunan, yn dysgu iddynt yr anghenrheidrwydd o fyw wrth ffydd, a'r anmhosiblrwydd oedd i fwynhau dedwyddwch tragywyddoldeb hebddi, gan weled fod holl effeithiau tragywyddoldeb yn effeithiau ffydd.

Gan hyny dywedir, ac yn briodol hefyd, mai heb ffydd anmhosibl yw rhyngu bodd Duw. Pe gofynid—paham y mae yn anmhosibl i ryngu bodd Duw heb ffydd? yr ateb fyddai—o herwydd heb ffydd anmhosibl yw i ddynion gael eu hachub; a chan fod Duw yn ewyllysio iachawdwriaeth dyn, mae yn rhaid iddo, wrth gwrs, ewyllysio fod ganddynt ffydd; ac ni ellid rhyngu ei fodd heb fod hyny ganddynt, neu ynte boddlonid ef yn eu dystryw.

Oddiwrth hyn gallwn ddysgu, fod yr amrywiol annogaethau a roddwyd trwy ddynion ysbrydoledig, i'r rhai hyny a dderbyniasant air yr Arglwydd er cael ffydd ynddo, ddim yn bethau canolig a chyffredin, ond yn bethau goreu o bob peth, a hyny oedd—o herwydd hebddi nid oedd iachawdwriaeth, yn y byd yma, nac yn yr hwn sydd i ddyfod. Pan ddechreuo dynion fyw trwy ffydd, dechreuant ddyfod yn agos at Dduw; a phan fyddo ffydd wedi ei pherffeithio maent yn debyg iddo; ac o herwydd ei fod ef wedi ei achub, maent hwythau wedi eu hachub hefyd; oblegid byddant hwy yn yr un sefyllfa ag y bydd ef ynddi, canys y maent wedi dyfod ato ef; a phan ymddangoso efe byddant yn debyg iddo, oblegid gwelant ef megys ag y mae.

Fel y mae'r holl greadigaeth weledig yn effaith ffydd, felly y mae iachawdwriaeth hefyd—meddyliwn iachawdwriaeth yn ei ystyr mwyaf cynnwysfawr, pa un bynag ai tymmorol neu ysbrydol. Mewn trefn i osod y pwnc hwn yn eglur o flaen y meddwl, gadewch i ni ofyn pa sefyllfa y rhaid i berson fod ynddo er cael ei achub? neu pa beth yw y gwahaniaeth rhwng dyn wedi ei achub a dyn heb ei achub? Atebwn, oddiwrth yr hyn a welsom yn flaenorol am y bydoedd nefol, mae yn rhaid eu bod yn bersonau a all weithio trwy ffydd, ac yn rai sydd yn alluog, trwy ffydd, i fod yn ysbrydion gwasanaethgar i'r rhai a gânt fod yn etifeddion iachawdwriaeth; a rhaid iddynt gael ffydd er eu galluogi i weithredu yn mhresennoldeb Duw, onide ni allant gael

eu hachub. A'r hyn sydd yn cyfansoddi y gwir gwahaniaeth rhwng person wedi ei achub ac un heb ei achub yw—y gwahaniaeth yn ngradd ei ffydd—mae ffydd un wedi dyfod yn ddigon perffaith i gydio mewn bywyd tragywyddol, ac nid ydyw eiddo y llall. Ond i fod dipyn yn fwy manwl, gadewch i ni ofyn—pa le y cawn afael ar gynddelw, i lun yr hwn y gellir ein tebygoli, mewn trefn i ni gael ein gwneyd yn gyfranogion o fywyd ac iachawdwriaeth? neu, mewn geiriau ereill, pa le y cawn afael ar fod wedi ei achub? o herwydd os cawn afael mewn bod wedi ei achub, gallwn gael gwybod heb lawer o anhawsdra beth raid i ereill fod er cael eu hachub.—Tybiwn na fydd yn fater o ddadl, na all dau fod sydd yn annhebyg i'w gilydd gael eu hachub; o herwydd yr hyn sydd yn cyfansoddi iachawdwriaeth un, a gyfansodda iachawdwriaeth pob creadur a achubir; ac os cawn afael mewn un bod wedi ei achub yn yr holl greadigaeth, gallwn weled beth raid i bawb ereill fod, neu fod heb eu hachub. Gofynwn, ynte, pa le mae y cynddelw? neu pa le mae y bod sydd wedi ei achub? Yr ydym yn penderfynu, ynghylch yr ateb i'r cwestiwn hwn, na fydd un ddadl yn mhlith neb sydd yn credu y Beibi, mai Crist ydyw: cytuna pawb yn hyn, mai efe yw y cynddelw neu safon iachawdwriaeth; neu, mewn geiriau ereill, ei fod yn fôd wedi ei achub. A phe byddai i ni barhau ein cwestiyno, a gofyn pa fodd y mae efe wedi ei achub? yr ateb fyddai—o herwydd ei fod yn fôd cyfiawn a santaidd; a phe byddai mewn rhywbeth yn wahanol i'r hyn ydyw, ni chawsai ei achub; o herwydd y mae ei achubiaeth yn ymddibynu ar ei fod yn gymhwys yr hyn ydyw, a dim arall; o herwydd pe byddai yn bosibl iddo gyfnewid yn y radd leiaf, mor sicr y pallai ei iachawdwriaeth, ac y collai ei holl lywodraeth, gallu, awdurdod, a gogoniant, yr hyn sydd yn cyfansoddi iachawdwriaeth; oblegid y mae iachawdwriaeth yn gynnwysedig yn y gogoniant, awdurdod, mawredd, gallu, a'r llywodraeth a fedda y Jehofa, ac nid mewn dim arall; ac ni all un bod ei feddu ond ei hunan, neu un tebyg iddo. Fel hyn y dywed Ioan, yn ei epistol cyntaf, trydedd bennod, a'r ail a'r drydedd adnod, "Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn: eithr ni a wyddom, pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo; oblegid ni a gawn ei weled ef megys ag y mae. Ac y mae pob un sydd ganddo y gobaith hwn ynddo ef, yn ei buro ei hun, megys y mae yntau yn bur." Paham puro

ei hun, megys y mae yntau yn bur? O herwydd, os na wnant, ni allant fod yn debyg iddo.

Dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, Lefiticus xix, 2, "Llefara wrth holl gynnulleidfa meibion Israel, a dywed wrthynt, Byddwch santaidd; canys santaidd ydwyf fi, yr Arglwydd eich Duw chwi." A dywed Pedr, epistol cyntaf, i, 15, 16. "Eithr megys y mae y neb a'ch galwodd chwi yn santaidd, byddwch chwithau hefyd santaidd yn mhob ymarweddiad: oblegid y mae yn ysgrifenedig, Byddwch santaidd; canys santaidd ydwyf fi." A'r Iachawdwr a ddywed, Matthew v, 48. "Byddwch chwi yn berffaith, fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith."—Pe gofynai rhywun, beth yw'r achos o'r holl ddywediadau hyn? mae'r ateb i'w gael oddiwrth yr hyn a ddyfynwyd yn flaenorol o epistol Ioan, sef pan ymddangoso efe (yr Arglwydd), y bydd ei saint yn gyffelyb iddo; ac os na fyddant hwy yn santaidd, megys y mae yntau yn santaidd, ac yn berffaith, megys y mae yntau yn berffaith, ni allant fod yn debyg iddo; oblegid ni all un bod fwynhau ei ogoniant heb feddu ei berffeithderau a'i santeiddrwydd, ddim fwy nag y gallent deyrnasu yn ei deyrnas heb ei allu.

Mae hyn yn gosod allan yn eglur briodoldeb dywediad yr Iachawdwr, sydd yn ysgrifenedig yn nhystiolaeth Ioan, xiv, 12. "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, Yr hwn sydd yn credu ynof fi, y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur, yntau hefyd a'u gwna, a mwy nâ'r rhai hyn a wna efe: oblegid yr wyf fi yn myned at fy Nhad." Trwy gymmeryd hyn mewn cyssylltiad â rhai o'r dywediadau yn ngweddi yr Iachawdwr, ysgrifenedig yn y ddwyfed bennod ar bymtheg, rhoddir eglurhâd mawr ar ei ymadroddion. Dywed, yn y 20, 21, 22, 23, a'r 24 adn., "Ac nid wyf yn gweddio dros y rhai hyn yn unig, eithr dros y rhai hefyd a gredant ynof fi trwy eu hymadrodd hwynt: fel y byddont oll yn un; megys yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minnau ynot ti; fel y byddont hwythau un ynom ni: fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i. A'r gogoniant a roddaist i mi, a roddais iddynt hwy; fel y byddont un, megys yr ydym ni yn un: myfi ynddynt hwy, a thithau ynof fi; fel y byddont wedi eu perffeithio yn un, ac fel y gwypo y byd mai tydi a'm hanfonaist i, a charu o honot hwynt, megys y ceraist fi. Y Tad, y rhai a roddaist i mi, yr wyf yn ewyllysio, lle yr wyf fi, fod o honynt hwythau

hefyd gyda myfi; fel y gwelont fy ngogoniant a roddaist i mi: oblegid ti a'm ceraist cyn seiliad y byd."

Mae yr holl ddywediadau hyn wedi eu gosod ynghyd, yn rhoddi darluniad mor eglur o sefyllfa y saint gogoneddedig ag y gallai iaith roddi—y gweithredoedd a wnaeth yr Iesu yr oeddynt hwy i'w gwneyd, a gweithredoedd mwy nâ'r rhai hyny a wnaeth efe yn eu plith a gawsent hwy gyflawni, a hyny o herwydd ei fod ef yn myned at y Tad. Nid yw efe yn dweyd y caent wneyd y gweithredoedd hyn mewn amser; ond y caent wneyd gweithredoedd mwy, o herwydd ei fod yn myned at y Tad. Dywed yn y 24ain adnod—"Y Tad, y rhai a roddaist i mi, yr wyf yn ewyllysio, lle yr wyf fi, fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi; fel y gwelont fy ngogoniant." Mae y dywediadau hyn, trwy eu cymmeryd yn gyssylltiedig, yn ei wneyd yn eithaf eglur, am y gweithredoedd mwy ag oedd y rhai hyny a gredent yn ei enw ef i'w cyflawni, mai yn nhragywyddoldeb yr oeddynt i gael eu cyflawni, lle yr oedd ef yn myned, a lle y gallent hwy weled ei ogoniant. Yr oedd wedi dweyd mewn rhan arall o'i weddi, ei fod yn dymuno ar ei Dad fod y rhai hyny a gredent ynddo ef, gael bod yn un ynddo ef, megys ag yr oedd efe a'r Tad yn un yn eu gilydd. Ac nid wyf yn gweddio dros y rhai hyn (yr Apostolion) yn unig, ond hefyd dros y rhai a gredant ynof fi trwy eu geiriau hwynt, fel y byddont hwythau oll yn un; hyny yw, y rhai a gredant ynddo ef trwy eiriau yr apostolion, yn gystal â'r aposolion eu hunain, fel y byddent oll yn un, megys yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minnau ynot ti; fel y byddont hwythau un ynom ni.

Pa iaith a all fod yn eglurach nâ hon? Mae yn ddiau fod yr Iachawdwr yn golygu ei fod yn cael ei ddeall gan ei ddyscyblion, a llefarodd fel y gallent ei ddeall ef; o herwydd y mae yn mynegi wrth ei Dad, mewn iaith anhawdd ei chamsynied, ei fod am i'w ddyscyblion, hyd y nod yr oll o honynt, i fod fel ei hunan a'r Tad, oblegid fel yr oedd efe a'r Tad yn un, y gallent hwythau fod yn un gyda hwynt. Ac y mae yr hyn a ddywedir yn y 22ain adnod yn tueddu i sefydlu y grediniaeth hon yn fwy sicr, os oes anghen am rywbeth i'w sefydlu. Dywed,—"A'r gogoniant a roddaist i mi, a roddais iddynt hwy, fel y byddont un, megys yr ydym ni yn un." Fel pe dywedai, oddieithr iddynt gael y gogoniant a roddodd y Tad iddo ef, ni allent fod yn un gyda hwynt; o herwydd dywed iddo roddi iddynt y gogoniant

a roddodd y Tad iddo ef, fel y gallent fod yn un; neu mewn geiriau ereill, i'w gwneuthur yn un.

Mae hyn yn llanw i fyny y mesur o hysbysrwydd ar y pwnc hwn, ac yn dangos yn dra eglur, fod yr Iachawdwr yn dymuno i'w ddyscyblion ddeall, eu bod i fod yn gyfranogwyr gydag ef yn mhob peth, heb eithrio hyd y nod ei ogoniant.

Nid yw braidd yn anghenrheidiol yma i sylwi ar yr hyn a sylwasom arno yn flaenorol, fod y gogoniant sydd gan y Tad a'r Mab, yn bodoli o herwydd eu bod yn fodau cyfiawn a santaidd; a phe byddent yn ddiffygiol mewn un briodoledd neu berffeithrwydd a feddant, ni allai y gogoniant sydd ganddynt byth gael ei fwynhau ganddynt hwy, o herwydd y mae yn ofynol eu bod hwy yn gymhwys y peth ydynt mewn trefn i'w fwynhau; ac os rhydd yr Iachawdwr y gogoniant hwn i rywrai ereill, rhaid iddo wneuthur hyny yn y ffordd a ddesgrifir yn ei weddi ef at ei Dad —trwy eu gwneuthur hwy yn un ynddo ef, megys y mae ef a'r Tad yn un. Wrth wneuthur felly byddai yn rhoddi iddynt hwy y gogoniant a roddodd ei Dad iddo ef; a phan fyddo ei ddyscyblion yn cael eu gwneuthur yn un gyda'r Tad a'r Mab, megys y mae'r Tad a'r Mab yn un, pwy na wel briodoldeb dywediad yr Iachawdwr—" Y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur, chwithau hefyd a'u gwnewch, a mwy na'r rhai hyn a wnewch chwi; oblegid yr wyf fi yn myned at y Tad."

Mae yr addysgiadau hyn o eiddo yr Iachawdwr yn dangos yn eglur i ni natur yr iachawdwriaeth, a pha beth a gynnygiodd efe i'r teulu dynol pan y cynnygiodd eu hachub hwynt—iddo gynnyg eu gwneuthur hwynt yn debyg iddo ei hunan, ac yr oedd efe yn debyg i'w Dad, cynddelw mawr yr holl fodau achubol; a bod unrhyw gyfran o'r teulu dynol yn cael eu tebygoli i'w llun hwynt, yw eu hachub; a bod yn annhebyg iddynt yw eu dystrywio; ac ar y colyn mawr hwn y mae drws yr iachawdwriaeth yn troi.

Pwy na wel, ynte, nad iachawdwriaeth yw effaith ffydd? o herwydd, fel ag yr ydym wedi sylwi yn flaenorol, mae yr holl fodau nefol yn gwithredu ar yr egwyddor hon; ac oblegid eu bod yn alluog i wneuthur felly y maent yn cael eu hachub, canys ni allai dim heblaw hyn eu hachub hwynt. Ac hon yw y wers y mae Duw y nefoedd, trwy enau ei holl brophwydi santaidd, yn ymdrechu ddysgu i'r byd. O achos hyny y dywedir wrthym,

mai heb ffydd anmhosibl i'w rhyngu bodd Duw; a bod iachawdwriaeth o ffydd, fel y byddai yn ol gras, fel y byddai yr addewid yn sicr i'r holl had. Rhufeiniaid iv, 16. Ac Israel, yr hwn oedd yn dilyn deddf cyfiawnder, ni chyrhaeddodd ddeddf cyfiawnder. Paham? Am nad oeddynt yn ei cheisio trwy ffydd, ond megys trwy weithredoedd y ddeddf; canys hwy a dramgwyddasant wrth y maen tramgwydd. Rhufeiniaid ix, 31, 32. A dywedodd yr Iesu wrth y dyn a ddygodd ei fab ato, i fwrw allan y cythraul oedd yn ei boeni, "Os gelli di gredu, pob peth a all fod i'r neb a gredo." Marc ix, 23. Mae yr ysgrythyrau hyn, ynghyd â lluoedd o rai ereill a ellid ddyfynu yn gosod allan yn eglur y goleu yn yr hwn yr oedd yr Iachawdwr, yn gystal â Saint y Dyddiau gynt, yn edrych ar gynllun iachwdwriaeth. Ei bod yn gyfundraeth o ffydd—dechreua gyda ffydd, a pharha trwy ffydd; a phob bendith a geir mewn cysylltiad â hi, effaith ffydd ydyw, pa un a berthyna i'r bywyd hwn neu i'r hwn a ddaw. I hyn y mae holl ddadguddiadau Duw yn dwyn tystiolaeth. Os oedd plant yr addewid yn bod, effeithiau ffydd oeddynt, heb eithrio hyd y nod Iachawdwr y byd. "Bendigedig yw yr hon a gredodd," meddai Elizabeth wrth Mair, pan yr aeth i ymweled â hi; "canys bydd cyflawniad o'r pethau a ddywedwyd wrthi gan yr Arglwydd." Luc i, 45. Ac nid oedd genedigaeth Ioan Fedyddiwr yn llai mater o ffydd; o herwydd er i'w dad Zacharias gredu, cafodd ei daro yn fud. A thrwy yr holl hanes o ddyfais bywyd ac iachawdwriaeth, mater o ffydd ydyw; yr oedd pob dyn yn derbyn yn ol ei ffydd—yn ol fel yr oedd ei ffydd, felly yr oedd ei fendithion a'i ragorfreintiau; ac nid oedd dim yn cael ei atal oddiwrtho pan fyddai ei ffydd yn ddigonol i'w dderbyn. Gallai gau safnau llewod, diffodd angerdd tân, dianc rhag min y cleddyf, dod yn gryf mewn rhyfel, a gyru byddinoedd i ffoi; gallai gwragedd, trwy eu ffydd, dderbyn eu plant meirwon eilwaith; mewn gair, nid oedd dim yn anmhosibl gyda'r rhai a feddent ffydd. Yr oedd pob peth yn ddarostyngedig i Saint y dyddiau gynt, yn ol fel yr oedd eu ffydd. Trwy eu ffydd y gallent gael gweledigaethau nefol, gweinyddiad angylion, cael gwybodaeth am ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd, am gymmanfa a chynnulleifa y rhai cyntaf-anedig, y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd, am Dduw, Barnwr pawb, am Iesu Cyfryngwr y testament newydd, a dyfod yn adnabyddus â'r drydydd nef,

clywed a gweled pethau ag oedd yn annhraethadwy, ond ag oedd yn anghyfreithlawn i'w mynegi. Y mae Pedr, mewn golwg o allu ffydd, yn ei ail epistol, penod gyntaf, y cyntaf, yr ail, a'r trydydd adnodau, yn dweyd wrth Saint y dyddiau gynt—"Gras i chwi a thangnefedd a amlhaer, trwy adnabod Duw, a Iesu Grist ein Harglwydd ni; megys y rhoddes ei dduwiol allu ef i ni bob peth a berthyn i fywyd a duwioldeb, trwy ei adnabod ef yr hwn a'n galwodd ni i ogoniant a rhinwedd." Yn ei epistol cyntaf pennod gyntaf, y trydydd, pedwarydd, a'r pummed adnodau, dywed, "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn yn ol ei fawr drugaredd a'n hadgenedlodd ni i obaith bywiol, trwy adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw; i etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig, ac yn nghadw yn y nefoedd i chwi, y rhai trwy allu Duw ydych gadwedig trwy ffydd i iachawdwriaeth, parod i'w ddadguddio yn yr amser diweddaf."

Mae y dywediadau hyn, wedi eu gosod ynghyd, yn dangos golygiadau yr apostol yn dra eglur, fel na ellir cael lle i gamsynied yn meddwl un dyn. Dywed fod pob peth sydd yn perthyn i fywyd a duwioldeb wedi ei roddi trwy y wybodaeth o Dduw a'n Iachawdwr Iesu Grist. Ac os gofynir y cwestiwn, pa fodd yr oeddynt i gael gwybodaeth o Dduw? (o herwydd y mae llawer o wahaniaeth rhwng credu yn Nuw a'i adnabod—y mae gwybodaeth yn cynnwys mwy nâ ffydd. A sylwch, fod pob peth perthynol i fywyd a duwioldeb yn cael ei roddi trwy y wybodaeth o Dduw) y mae yr ateb yn cael ei roddi—trwy ffydd yr oeddynt i gael y wybodaeth hon; a thrwy gael gallu trwy ffydd i gael y wybodaeth o Dduw, gallant gael pob peth arall perthynol i fywyd a duwioldeb.

Oddiwrth y dywediadau hyn o eiddo yr apostol dysgwn mai trwy gael y wybodaeth o Dduw yr oedd dynion yn cael gwybodaeth o bob peth perthynol i fywyd a duwioldeb—a'r wybodaeth hon oedd effaith ffydd; felly, y mae pob peth perthynol i fywyd a duwioldeb yn effeithiau ffydd.

Oddiwrth hyn gallwn ymestyn mor bell ag y bydd unrhyw amgylchiadau yn gofyn, pa un bynag ai ar y ddaear neu yn y nefoedd, a chawn allan mai dyma dystiolaeth yr holl ddynion ysbrydoledig, neu'r cenadon nefol, sef fod pob peth perthynol i fywyd ac iachawdwriaeth yn effeithiau ffydd, ac nid dim arall;

palla dysgeidiaeth, doethineb, callineb, a phob peth arall fel moddion iachawdwriaeth, ond ffydd.—Dyma yr achos fod pysgotwyr Galilea yn gallu dysgu y byd—o herwydd eu bod yn ceisio trwy ffydd, ac yn cael trwy ffydd. A hyn yw yr achos fod Paul yn cyfrif pob peth yn dom ac yn sorod—y pethau oedd gynt yn elw iddo, a gyfrifodd efe yn golled; ie, a chyfrifodd bob peth yn golled, o herwydd ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu yr Arglwydd. Philipiaid iii, 7, 8, 9, a 10. O herwydd, er meddu y ffydd trwy yr hon y gallai fwynhau gwybodaeth Crist Iesu yr Arglwydd, cafodd ef ddyoddef y colled o bob peth; hyn yw yw yr achos fod Saint y dyddiau gynt yn gwybod mwy, ac yn deall mwy am y nefoedd ac am bethau nefol, na phawb ereill ynghyd, oblegid mae yr hysbysrwydd hyn yn effaith ffydd—nid yw idd ei gyrhaedd mewn un modd arall. A hyn yw yr achos fod dynion, mor fuan ag y collant eu ffydd, yn rhedeg i ymrysonau, cynhenau, tywyllwch, ac anhawsderau; o herwydd mae y wybodaeth sydd yn tueddu i fywyd yn diflanu gyda ffydd, ond yn dychwelyd pan ddychwelo ffydd; oblegid pan y mae ffydd yn dyfod, mae yn dwyn ei gosgordd o gydymdeithion gyda hi—apostolion, prophwydi, efengylwyr, bugeiliaid, athrawon, doniau, doethineb, gwybodaeth, gwyrthiau, iechyd, tafodau, cyfieithad tafodau, &c. Mae yr holl rai hyn yn ymddangos pan y byddo ffydd yn ymddangos ar y ddaear, ac yn diflanu pan y byddo hi yn diflanu o'r ddaear; oblegid dyma effeithiau ffydd, ac y maent wedi bod, a byddant o hyd, yn ei chanlyn. O herwydd lle byddo ffydd, yno bydd y wybodaeth o Dduw hefyd, ynghyd â phob peth perthynol iddi—dadguddiadau, gweledigaethau, a breuddwydion, yn gystal â phob peth anghenrheidiol, mewn trefn i'r meddianwyr o ffydd gael eu perffeithio, a chael iachawdwriaeth; oblegid rhaid i Dduw gyfnewid, onide gwna ffydd lwyddo gydag ef. A gwna yr hwn a'u meddianno, trwyddi, gyrhaedd pob gwybodaeth a doethineb anghenrheidiol, hyd nes yr adwaeno Dduw, a'r Arglwydd Iesu Grist, yr hwn a ddanfonodd—adwaen y cyfryw yw bywyd tragywyddol. Amen.

---

## CREDO SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF.

Credwn yn Nuw y Tad tragywyddol, a'i Fab Iesu Grist, ac yn yr Ysbryd Glan.

Credwn y caiff dynion eu cospi am eu pechodau eu hunain, ac nid am droseddiadau Adda.

Credwn mai trwy iawn Crist y gall holl ddynolryw gael eu hachub, trwy ufyddhau i gyfreithiau ac ordinhadau yr efengyl.

Credwn mai yr ordinhadau hyn yw—Yn 1af,—Ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist. Yn 2il,—Edifeirwch. Yn 3ydd,—Bedydd trwy drochiad er maddeuant pechodau. Yn 4ydd,—Gosodiad dwylaw er derbyn dawn yr Ysbryd Glan. Yn 5med,—Swper yr Arglwydd.

Credwn fod yn rhaid i ddynion gael eu galw gan Dduw trwy ysbrydoliaeth, a thrwy osodiad dwylaw y rhai hyny a awdurdodwyd yn gyfreithlawn i bregethu yr efengyl a gweinyddu ei hordinhadau.

Credwn yn yr un rheoleiddiad a fodolai yn yr eglwys gyntefig, sef apostolion, prophwydi, efengylwyr, bugeiliaid, athrawon, &c.

Credwn yn ngalluoedd a doniau yr efengyl dragywyddol, sef, y ddawn o ffydd, gwahaniaeth ysbrydoedd, prophwydoliaeth, dadguddiad, gweledigaethau, iachâu, tafodau, a chyfieithad tafodau, doethineb, cariad, brawdgarwch, &c.

Credwn air Duw sydd yn ysgrifenedig yn y Beibl, credwn hefyd air Duw sydd yn ysgrifenedig yn Llyfr Mormon, ac yn mhob llyfr da ereill.

Credwn yr oll y mae Duw wedi ddadguddio, yr oll y mae yn ddadguddio yn awr, a chredwn y dadguddia efe etto lawer ychwaneg o bethau mawr a phwysig perthynol i deyrnas Dduw ac ail ddyfodiad y Messiah.

Credwn yn llythyrenol gasgliad Israel, ac adferiad y deg llwyth; fod Seion i gael ei sefydlu ar y cyfandir gorllewinol, fod Crist i deyrnasu yn bersonol ar y ddaear am fil o flynyddoedd, a bod y ddaear i gael ei hadnewyddu a derbyn ei gogoniant paradwysaidd.

Credwn yn adgyfodiad llythyrenol y corff, ac y cyfyd y meirw yn Nghrist yn gyntaf, ac na fydd y lleill o'r meirw fyw drachefn hyd nes y darfyddo y mil blynyddoedd.

Honwn y fraint o addoli y Duw Hollalluog yn ol cyfarwyddiadau ein cydwybodau heb ein haflonyddu, a chaniatawn i bawb ereill yr un fraint, addolent lle a fel y mynont.

Credwn mewn bod yn ddarostyngedig i freninoedd, breninesau,

llywyddion, llywodraethwyr, ac ustusiaid, mewn ufyddhau, parchu, a dal i fyny y gyfraith.

Credwn mewn bod yn onest, geirwir, diwair, cymmedrol, haelionus, rhinweddol, ac uniawn, ac mewn gwneuthur daioni i bawb; yn wir, gallwn ddweyd ein bod yn dilyn cynghor Paul, yr ydym "yn credu pob dim," yr ydym "yn gobeithio pob dim," yr ydym wedi dyoddef llawer iawn o bethau, ac yn gobeithio bod yn abl i "ddyoddef pob dim." Ymgeisiwn ar ol pob peth rhinweddol teilwng, dymunol, ac o air, gan edrych yn mlaen ar "daledigaeth y gwobrwy."

---

## Y MUD A'R BYDDAR.*

PA galon na theimla dros fyddar a mud,
Sy'n nghanol perseiniau heb glywed dim byd?
Yn ofer y sua'r afonydd i'r rhai n;
Y dyfnder, er rhuo, ni chlywant ei sain.

Y daran a rwyga yn erchyll uwch ben,
Pan wisgir â phrudd-der wynebpryd y nen,
All drystio nes taro'r greadigaeth â braw,
Y byddar ni wybydd—mae'n dawel gerllaw.

Peroriaeth yr adar a leisiant o'r llwyn,
Wrth oglais y dymher, sy'n meddu'r fath swyn,
Mae ef yn ei chanol, heb gael rhan o'r wledd,
Yn byw mewn dystawrwydd mor ddystaw â'r bedd.

Y delyn a'r dympan—ni ŵyr beth yw'r rhai'n,
Yn mro'i amgyffredion—ni fu math o sain;
Ynfydrwydd i Handel, pencerddor y byd,
Oedd meddwl effeithio ar fyddar a mud.

Ni chlywodd lais tyner ei fam wrth ei drin,
Na'i chanu diniwed pan oedd ar ei glin;
Y *lullaby*, swynol, ni wyddai am hyn;—
Pan fo pawb yn siriol edrycha fe'n syn.

*A ysgrifenwyd ar sefydliad Cymdeithas y Mud a'r Byddar yn Aberystwyth, Chwefror 1, 1847.

Llais trist a swn llawen sy'r un iddo ef;
Ni ŵyr fod llew'n rhuo, na'r oen yn rhoi bref;
Llais ceiliog ben bore, llef gwyliwr yr hwyr,
A rhybydd yr awrlais o'i gyrhaedd sy'n llwyr.
Cael clywed hyawdledd pen campwyr yr oes,
I'r mud ac i'r byddar, un gobaith nid oes.
O'r traeth rhag y llanw nid all llais ei droi,
Na chyd-floedd miliynau ei ddychryn i ffoi.

Ni chafodd y fantais o glywed gair Duw,
Na sain y lleferydd sy'n dwyn meirw'n fyw;
Ni chlywodd am nefoedd, nac am wlad y gwae!
Yn ymyl digonedd mewn eisieu y mae.

Mae'r enaid yn berffaith, a'r teimlad yn fyw,
Ond ar y galluoedd ni weithir drwy'r clyw;
Am ddefnydd y tafod a'r clustiau nis gŵyr,
Rhaid agor y meddwl drwy'r llygaid yn llwyr.

Aeth miloedd o'r Cymry oedd fyddar a mud,
Heb weled un cynnyg at addysg, o'r byd;
Darpariaeth sy'n ymyl ein gwladwyr, yn awr,
Pwy beidiai roi cymhorth mewn gorchwyl mor fawr?

*Llundain, Mai*, 1849. CALEDFRYN.

---

## PRAWF ARALL O WIRIONEDD LLYFR MORMON.

[O'r "Hampshire Telegraph."]

"PHILADELPHIA, CHWEF. 18. — Teimla henafiaethwyr yn bur ddyddorawl yn narganfyddiad gwlad helaeth o hen adfeiliadau, gerllaw San Diego, ac o fewn taith diwrnod i'r Môr Tawel, wrth ben cainc-for California. Rhanau o demlau, tai byw, peiramidiau ceryg uchel (saith o honynt o fewn milltir ysgwar), a thorchau gwenith-faen mawrion a muriau cylchog oddiamgylch hen goed, colofnau, a blociau o arwydd-luniau—i gyd yn llefaru am ryw hen genedl o ddynion wedi darfod am byth, a'u hanes yn llwyr anadnabyddus i unrhyw lwyth o ddynolryw a fodolant yn awr. Mewn rhai pethau mae yr adfeiliadau hyn yn tebygoli i'r dinasoedd a ddarganfyddwyd yn ddiweddar, sef Palenque, &c., gerllaw y Môr Werydd neu arfordir cainc-for Mexico; mewn pethau

ereill, adfeiliadau yr Aifft gyntefig; mewn ereill etto, colofnau Phœnecia; ac etto mewn llawer golwg yn amrywio, oddiwrthynt oll. Meddyliai y darganfyddwyr eu bod oddiar y diluw, tra mae yr Indiaid presennol yn meddu traddodiad o genedl wareiddiedig fawr, yr hon a ddystrywyd yn llwyr gan eu tadau ffyrnigaidd."

---

"Wele, myfi, Moroni, yn gorphen hanes fy nhad, Mormon. Wele, nid oes genyf ond ychydig o bethau i ysgrifenu, pa rai a orchymynwyd i mi gan fy nhad. A bu yn awr, ar ol y frwydr fawr ac enbyd yn Cumorah, wele y Nephiaid, y rhai a ddiangasant i'r wlad yn ddeheuol, a erlidiwyd gan y Lamaniaid, hyd nes iddynt gael eu *dystrywio* oll; a lladdwyd fy nhad ganddynt hefyd, a myfi yn unig sydd ar ol i ysgrifenu hanes galarus dystryw fy mhobl."—*Gwel Llyfr Mormon, tud.* 509.

---

## Y MAE UN A DDIAL.

*Abertawy, Mai* 17, 1850.

ANWYL FRAWD DAVIS,—Dymunaf eich hysbysu am enghraifft, yn ol fy marn i, ac un sydd wedi gwneyd argraff mawr ar feddyliau y Saint yn Abertawy, a ddygwyddodd yma ddoe, o ddial ein Tad nefol ar y rhai sydd yn erlid ei blant.

Oddeutu un mis ar bymtheg yn ol, ysgrifenwyd llythyr at J. W. Llewelyn, yn Llansamled, yn y gymmydogaeth hon, yn ymddangos ei fod wedi dyfod oddiwrth ein brawd teilwng Capt. Jones, yr hwn a brofwyd yn ffugiol.

Cafodd y person yn nhŷ yr hwn, a than gyfarwyddyd yr hwn yr ysgrifenwyd y llythyr, ei ddinystrio y ddoe gan yr hyn a eilw y byd yn ddamwain. Yr oedd am fynu ychydig o ddifyrwch wrth ollwng dramaid o geryg i waered ar hyd *incline* bychan; ac, fel y mae yn syn i adrodd, ei fab ei hun, yr hwn feddylir a ysgrifenodd y llythyr, oedd yr offeryn yn llaw y Bod mawr i ddinystrio ei dad. Wrth wneuthur felly, tasgodd careg allan o'r dram, ac a'i tarawodd yn farw, trwy hollti ei ben. Yr oedd efe yn chwerthin ar y pryd, a thrwy ei orchymyn y cafodd y dram redeg yn rhydd. Dyma y gwirionedd megys y dygwyddodd. Mae J. W. Llewelyn yn byw yn awr yn Foxhole, ychydig o ffordd o'r lle y

dygwyddodd hyn. Yr wyf yn ysgrifenu hyn, fel y caffoch wybod; gellwch ei gyhoeddi, neu beidio, fel y meddylioch oreu. Gall fod yn rybydd i'r sawl sydd yn parhau i erlid y Saint. Gan ddymuno i chwi bob dedwyddwch, erfyniaf barhau,

Anwyl frawd yn y cyfammod tragywyddol,
Yr eiddoch yn wirioneddol,
JOHN RHYS ROBERTS.

[Gwyddom am lawer o enghreifftiau cyffelyb ein hunain, lle yr oedd llaw Duw i'w gweled yn dra amlwg. Nid da ydyw cellwair â phobl sydd yn galw eu hunain yn Saint; mae Duw gyda y rhai hyny er y dechreuad.—GOL.]

## TRWYDDEDI.

MAE yr holl swyddogion trwy Gymru wedi eu hysbysu ynghylch y Trwyddedi eglwysig sydd wedi eu hargraffu yma yn Gymraeg, ac yn Liverpool yn Saesneg. Dymunwn hysbysu etto fod yn rhaid i bob diacon, athraw, offeiriad, ac henuriad, yn mhob cynnadledd, gael Trwydded wedi ei harwyddo gan lywydd ac ysgrifenydd eu cynnadledd, cyn y gallant yn gyfreithlawn weinyddu yn eu gwahanol swyddi. Edryched y llywyddion at hyny. Mae y Drwydded i'w llanw fel y canlyn:—

"Yr ydym ni yn tystio yma fod [A. B.] wedi ei ordeinio yn [Henuriad, Offeiriad, neu beth bynag fyddo] yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, yn Nghangen [Merthyr], yn Nghynnadledd [Ddwyreiniol Morganwg], o dan ddwylaw [C. D., Henuriad neu Offeiriad, yn ol fel y byddo'r amgylchiad], yn unol â chymmeradwyaeth y gangen uchod, ar y [degfed] dydd o [Fai], 1840.

"Rhoddwyd o dan ein dwylaw, yn (Merthyr), ar y (24ain) o (Fai), 1850.

"E. F.), Llywydd,
"(G. H.), Ysgrifenydd.

Nid oes gwahaniaeth pa un ai Cymraeg neu Saesneg fyddo y Trwyddedi, yn Nghymru, ond rhaid eu bod yn Saesneg yn Lloegr, ac yn America, a rhaid bod "Printed by R. James, Liverpool," ar y rhai Saesneg, a "J. Davis, Argraffydd, Merthyr," ar y rhai Cymraeg. Dealler mai nid trwyddedi gwladol, ond eglwysig, yw y rhai hyn, ac yn costio dimai yr un.

Os bydd rhyw swyddog yn cael ei ddifuddio neu ei dori allan, tyned llywydd y gynnadledd neu y gangen y drwydded oddiwrtho,

ac os gwrthoda ei rhoi i fyny, danfoner ei enw i'r UDGORN. Dyben y Trwyddedi yw amddiffyn y Saint rhag cael eu twyllo gan ddynion hocedus a diog sy'n ymdrechu byw ar eu cefnau.

## MOLAWD I DDUW.

MOLIENNWCH Dduw, ffynnonell llad,
Molwch Lân Ysbryd, Mab, a Thad;
Moliennwch Dduw, holl luoedd nef;
Pob perchen einioes, molwch ef.

Coronawg lu, seraphaidd gôr,
A blygant wrth dy draed, ein Pôr;
Gosgorddion llachar gwlad y gwawl,
I ti, O Dduw, a gathlant fawl.

A ninnau'th saint, ar gerddi llon,
Ddadganwn folawd ger dy fron;
Ein Lleufer wyt, ein Pen a'n pwyll,
A'n cymhorth têr yn myd y twyll.

NATHAN DDU O LYWEL.

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR ABERTEIFI.

CYNNALIWYD cymmanfa y sir hon yn Nghellan, ar y 12fed o Fai, pryd y cynnrychiolwyd pedair cangen, yn cynnwys 9 o henuriaid, 9 o offeiriaid, 2 athraw, ac 1 diacon; bedyddiwyd er y gymmanfa o'r blaen, 9; wedi marw, 1; wedi symud, 2; cyfanswm, 68. Anerchwyd y dorf gan y brawd T. Pugh, Alfred Clark, ac ereill.—A. Clark, llywydd; J. James, ysgrifenydd.

### CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG.

Cynnaliwyd cymmanfa y gynnadledd uchod yn y Trade's Hall, yn Abertawy, ar y 21ain o Ebrill diweddaf, pryd y cynnrychiolwyd 17 o gangenau, yn cynnwys 1 archoffeiriad, 68 o henuriaid, 33 o offeiriaid, 28 o athrawon, a 17 o ddiaconiaid; bedyddiwyd yn y chwarter diweddaf, 73; torwyd allan, 3; bu farw, 1; cyfanswm, 551. Cymmeradwywyd apwyntiad yr Hen. Evan Williams i lywyddu dros y gynnadledd, yn lle y brawd T. Pugh, yr hwn

sydd wedi ei alw yn gynghorwr yn Llywyddiaeth Cymru. Dewiswyd Hopkin Mathews ac Emrys Davies yn gynghorwyr i'r brawd Williams. Anerchwyd y gwahanol gyfarfodydd gan Dr. L. Richards, T. Pugh, H. Williams, E. Williams, &c. Apwyntiwyd John Rhys Roberts yn llywydd cangen Abertawy, ac yn drysorydd dros y gymmanfa i'r Drysorfa Ymfudol Barhaus. Cafwyd cymmanfa dda, ac addysgiadau gwerthfawr.—Thos. Pugh, llywydd; W. Stibbs, ysgrifenydd.

### SIR FRYCHEINIOG.

Cymmanfa y gynnadledd hon a gynnaliwyd yn Nghrughywel, ar yr 28ain o Ebrill, pryd y cynnrychiolwyd y cangenau, y rhai a gynnwysant 10 o henuriaid, 4 o offeiriaid, 2 o athrawon, a 4 o ddiaconiaid; bedyddiwyd, 30; torwyd allan, 16; ymfudodd, 4; cyfanswm, 67. Cawsom gyfarfodydd neillduol o dda trwy y dydd. Daeth amryw o'r brodyr o sir Fynwy i ymweled â ni, ac i'n cynnorthwyo, sef T. Giles a'i gynghorwyr, &c. Cafwyd gwrandawiad astud a sobr gan bregethwyr ac aelodau yr enwadau, yngbyd ag ereill; a diammau i lawer gredu. Penderfynwyd cymmeradwyo holl awdurdodau yr eglwys.—J. Jones, llywydd.

### SIR DDINBYCH.

Cynnaliwyd cymmanfa sir Ddinbych, yn Abergele, ar yr 21ain o Ebrill, pryd y cynnrychiolwyd pedair o gangenau, pa rai oedd yn cynnwys 11 o henuriaid, 12 o offeiriaid, 5 o athrawon, a 5 o ddiaconiaid; wedi eu bedyddio er y gymmanfa o'r blaen, 16; cyfanswm, 141. Galwyd i swyddi ddau offeiriad, un athraw, ac un diacon.—J. Parry, llywydd; Wm. Parry, ysgrifenydd.

---

## AMRYWIAETHAU.

Mai.—Hwn yw y mis goreu ei gymmeriad—yn wir, efe yw anwylyd y dychymmyg; ond yn fynych sioma ddysgwyliadau ei addolwyr. Ar dymmorau ffafriol, rhydd allan amryw olygfeydd hyfrydol, megys porfa a dail o'r lliw gwyrdd rhagoraf, cyflawnder o flodau naturiol, awyr fwyn a dymunol, pysgod yn neidio, gwennoliaid yn lleisio, gwenyn yn sïad, y gog yn adrodd ei chân un-dôn, a'r llafur yn egino. Ond y mae yr ymddangosiadau hyn yn cael eu rhwystro neu eu cymylu yn aml gan oer-wyntoedd

dwyreiniol, y rhai mwyaf dinystriol i ffrwyth-flodau. Cyfartaledd cyffredin yr hin yw oddeutu 51 o raddau. Dyma yr amser diweddaraf i hau had. Yn y rhanau mwyaf ar ol yn y wlad, y mae barlys yn parhau i gael ei hau, ac y mae had rhai planigion tyner yn cael eu gosod yn y gerddi. Mae yr onen, y diweddaraf yn blaguro o bob pren, yn dechreu deilio diwedd y mis hwn.

Galwad o'r Dyffryn.—Ysgrifena Brigham Young, mewn llythyr at y Llywydd Orson Pratt, dyddiedig y 14eg o Hydref 1849, fel y canlyn:—"Y mae arnom eisieu cwmpeini o weithyddion gwlan i ddyfod â pheirian waith ganddynt, a chymmeryd ein gwlan oddiwrth y defaid, a'i gyfnewid i'r dillad goreu—ac y mae'r gwlan yn barod. Mae arnom eisieu gweithyddion cotwm, y rhai a'i cyfnewidiant i galico, llian, &c, a chodwn gotwm cyn y byddo'r peirian-waith yn barod. Mae arnom eisieu cwmpeini o grochenyddion; mae eu hanghen, mae y clai yn barod, ac eisieu dysglau. Danfonwch gwmpeini o bob dosparth, os bydd yn bosibl, y gwanwyn nesaf. Gweithyddion sidan, a phob rhai ereill, a ddilynant yn olynol. Mae eisieu rhai dynion i ddechreu ffwrnais ar frys,—mae y glo, yr haiarn, a'r moldwyr yn dysgwyl."

Ffalsdra y Parchedigion.—Mae parchedigion yr enwadau crefyddol wedi dyfeisio llawer ffordd i attal eu defaid rhag myned i wrandaw ar y Saint; ond nid oes neb hyd yn hyn wedi bod mor ffals ag un gweinidog Bedyddiedig yn y dref hon. Dywedai hwn yn gyhoeddus wrth y gynnulleidfa, yr ystyriai bob un a elai i wrandaw ar y Saint yn amddifad o synwyr cyffredin! Rhaid i ni gyfaddef fod yma wir gyfrwysdra i gynllwyn i dwyllo. Ymdrecha pob penwan mwyach i ymgadw rhag y Saint, rhag i'r gweinidog yma ddweyd mai llaid sydd ganddo yn lle ymenydd!

Argraff-dy Saint.—Mae yr Apostol Orson Hyde, yn y "Frontier Guardian," yn ysgrifenu fel y canlyn:—"Mae yn dda genym weled ein cyfeillion bob amser, ond pan fyddont yn ein dilyn i'r swyddfa argraffu, a dechreu ymddyddan â'r gweithwyr. Mae hyn yn flinderus iawn iddynt hwy, ac yn rhwystr i'r gwaith. Nid yw argraff-dy yn le i droi mewn i dreulio amser mewn siarad afreidiol. Os ydych am gael y papyrau yn brydlawn, gadewch ni wrthym ein hunain gymmaint a fo posibl, a gwnawn eu rhoddi i chwi. Os bydd genych wir fusnes yn y swyddfa, bydd yn dda genym eich gweled yno; ond os na fydd, gadewch ni wrthym ein

hunain." [Gallai "*ni* UDGORN SEION" ddweyd yr un peth, a rhagor fe ddichon, gan eu bod yn golygu ac yn gweithio hefyd; ond gobeithiant fod y brawd uchod yn llefaru digon drostynt.]

AUR.—Mae aur yn y byd hwn yn cuddio cymmaint o bechodau, ag a wna cariad yn y byd nesaf.

DAU DDRWG.—"Yr ydych wedi tori'r Sabboth, John," meddai rhyw grefyddwr wrth ei fab. "Ydyw," ebe ei chwaer fychan, "a chrib hir mam hefyd, mewn tri o fanau."

Os na fydd i ni sylwi ar ein ffaeleddau, bydd i ni ein hunain eu hanghofio yn fuan.

NI ddaw y dyn nad yw ond yn cyfieithu o hyd, byth yn brydydd; na'r hwn sydd yn copïo o hyd, byth yn baentiwr; na'r hwn sydd yn nofio wrth bledreni o hyd, byth yn nofiadwr: felly, y dynion sydd yn ymddiried yn gwbl ar elusenau ereill, ac heb feddu un diwydrwydd eu hunain, a fyddant yn dlawd o hyd.

RHYFEDDOD.—Galwodd llawer o Saint yn ein swyddfa o fewn y mis hwn, i ddweyd wrthym nad oeddynt yn darllen yr UDGORN, trwy ofyn pa le yr oedd y brawd Phillips yn byw! Darfu i ni hysbysu yn ein rhifyn olaf ei fod yn byw yn y tŷ nesaf atom.

DAIONI CATH.—Bu cath cymmydog yn ymweled â'n swyddfa yn lled aml yn ddiweddar, ond nid ymddengys iddi ddala cymmaint ag un o'r llygod bychain oedd yn gwneyd eu cartref gyda'r argraffwyr. Prynasom drap o'r diwedd, a daliodd hwnw y cyfan mewn ychydig amser; ond tra yr oedd yr un olaf yn fyw yn y trap, daeth Pwssi i mewn, a gosodasom ninnau y trap a'r llygoden o'i blaen ar y llawr; ac os do, ni welsom un o honynt wedy'n, canys yr oedd Pwssi a'r cyfan ar ben tŷ pellenig cyn i ni gael amser i droi!

"ATHRAWON."

Clywch! "Ai athrawon pawb?" gofynai Paul.
Pa'm y gofynodd y fath gwestiwn ffol?
Bu apostolion a phrophwydi gynt,
A gwyrthiau a thafodau, ar eu hynt;
Ond ffoisant hwy ers amser maith ar goll,—
Can's *deacons* ac ATHRAWON 'nawr yw'r OLL:
Perffeithia'r 'rhain y saint, ânt 'mlaen â'r "gwaith,"
A lluniant "gorff" heb draed na phenglog chwaith.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 18.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI, (SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. II.] MEHEFIN, 1850. [PRIS 2½g.

## CYNHWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1850.

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

**AT EIN DOSBARTHWYR.**—Mae chwarter arall ar ben etto, a rhai heb dalu i fyny am y llall. Bydd yn angenrheidiol i ni gael ein talu yn ddioed, ac yn llwyr, erbyn canol y mis nesaf, fel y gallwn wneyd ein cyfrifon yn barod erbyn y dychwela y Llywydd Orson Pratt, yr hwn fydd yn ystod y mis nesaf. Ar y Llywyddion, ac nid ar y Saint, y gorphwys cyflawni hyn: yr hyn a orchymyno y pen, mae yr aelodau oll yn barod i wneuthur.

☞ Mae awydd y Cymry gymmaint am Lyfr Mormon a Llyfr yr Athrawiaethau a'r Cyfammodau, yn Gymraeg, fel ag y mae y brawd Thomas Conway wedi canu fel y canlyn:—

> "O, na feddem ni, y Cymry,
> Ein Llyfr Mormon yn ein iaith,
> Fel y caffem fwy o leuni
> A chysuron ar ein taith;
> Hefyd, Llyfr yr Athrawiaethau,
> Hwn yn ddiau roddai ddysg
> I swyddogion eglwys Iesu,
> A'r Saint uniaith yn eu mysg."

Mae yr "Athrawiaethau" wedi eu cyhoeddi, yn llyfryn gwerth pedair ceiniog, dan yr enw o "Ddarlithiau ar Ffydd," gan Joseph Smith. Caiff y Saint ddigon o lyfrau pan ymdrechont brynu y rhai sydd yn aros ar law.

**OLIVER COWDERY.**—Mae yr Henuriad George B. Wallace, archoffeiriad, yr hwn a laniodd yn Liverpool ar y 9fed o'r mis hwn, yn hysbysu fod Oliver Cowdery wedi marw yn mis Chwefror diweddaf o'r darfodedigaeth. Oliver Cowdery oedd un o'r tri thyst i Lyfr Mormon. Cafodd ei esgymuno o'r Eglwys am ei wrthryfelgarwch rai blynyddoedd yn ol. Er iddo aros allan o'r Eglwys am amryw flynyddoedd, etto ni thaflodd erioed, mewn un amgylchiad, unrhyw ammheuaeth mewn perthynas i wirionedd ei dystiolaeth flaenorol. Rhyw amser yn 1847 neu 1848 ceisiodd ei aelodiaeth yn ol yn mhlith y Saint. Yr oedd ei ddychweliad i'r ddiadell yn peri llawenydd mawr i'r Saint, y rhai a gofient am dano fel un ag oedd wedi dyoddef llawer yn amser sefydliad yr Eglwys. Mae yn awr wedi myned i'ffordd yr holl ddaear. Bydded iddo orphwys mewn heddwch, ac i ddyfod allan ar foreu yr adgyfodiad cyntaf i fywyd tragywyddol, yw taer ddymuniad pob Saint.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 18.] MEHEFIN, 1850. [CYF. II.


### CADWCH GOF-LYFR.

MAE gweision Duw yn y dyddiau diweddaf hyn wedi derbyn ysbryd doethineb, gwybodaeth, a gallu; a byddant yn gyfrifol iddo Ef am y defnydd a wnant o'r unrhyw. Bydd y nefoedd yn ysgrifenu eu gweithredoedd; a bydd yr hyn a ysgrifenir yn cael ei gadw hyd ddydd y farn, i fod yn dyst drostynt neu yn eu herbyn. Dywedodd Iesu wrth y Nephiaid fod "pob peth yn cael ei ysgrifenu gan y Tad, a gorchymynodd hefyd i'w ddeuddeg dyscybl i "ysgrifenu gweithredoedd y bobl hyny; canys allan o'r llyfrau a ysgrifenir y bernir y byd." Mae Iesu hefyd wedi gorchymyn i henuriaid a swyddogion ei Eglwys, yn y dyddiau diweddaf, i gadw coffadwriaeth o'u holl weithredoedd. A ydyw gweision Duw wedi bod yn ffyddlawn yn y peth hwn? Pe byddem ni yn cael ein pwyso yn y glorian ynghylch y mater hyn, ofnwn y buasai llawer o honom yn cael ein hunain yn brin o bwysau. "Yr hwn sydd yn fy ngharu i," medd Iesu, "sydd yn cadw fy ngorchymynion." Anwyl frodyr, os ydym wedi bod yn ddioglyd hyd yn hyn, ac wedi esgeuluso gorchymyn ein Harglwydd, na fydded i ni fod yn ddioglyd nac yn esgeulus o hyn allan. Pryned pob un lyfryn gwyn bychan, ac ysgrifened ynddo ei lafur ei hun, a phob dygwyddiad neillduol perthynol i waith Duw ag sydd yn dyfod o dan ei sylw.

Pe buasai pob Henuriad, yn ystod y pedair blynedd ar bymtheg diweddaf, wedi cadw coffadwriaeth gywir am bob peth a

welodd, a glywodd, ac a deimlodd o ddaioni, doethineb, a gallu Duw, buasai yr Eglwys yn awr yn feddiannol ar lawer o filoedd o gyfrolau, yn cynnwys llawer o wybodaethau pwysig a defnyddiol. Pa faint o filoedd sydd wedi eu hiachâu yn wyrthiol yn yr Eglwys hon, a dim neb wedi cadw un coffadwriaeth o honynt? A ydyw hyn yn iawn? A ddylai yr amlygiadau gwyrthiol hyn o allu Duw, gael eu hanghofio? A ddylai y wybodaeth o'r pethau hyn gysgu yn nghalonau y rhai hyny sydd wedi eu gweled, a chyrhaedd dim yn mhellach na chlustiau eu cymmydogion? Ni ddylai yr esgeulusdod hyn yn ngweision Duw, fodoli dim yn mhellach. Dylem gadw cof-lyfr, o herwydd fod Iesu wedi ei orchymyn. Dylem gadw cof-lyfr, o herwydd y bydd yn ein llesoli ni ein hunain, a chenedlaethau ein plant ar ein hol. Dylem gadw cof-lyfr, o herwydd y bydd yn gynnorthwy mawr er ysgrifenu hanes cyffredinol o'r Eglwys. Dylai pob iachâd, a phob gwyrth ag y mae Iesu yn ei chyflawni trwy ryw rai o'i blant, gael eu hysgrifenu yn gywir, heb osod un lliw ar ddim. Ffeithiau eglur ddylai gael eu rhoddi, nid trwy glywed rhywun yn ddweyd, ond trwy wybodaeth sicr. Ysgrifener enwau y personau a iacheir, y tystion, y dolur neu'r afiechyd, y lle a'r amser, a phob peth arall cyssylltiedig. Edryched llywyddion y cynnadleddau fod y pethau mwyaf neillduol yn cael eu hysgrifenu ar Gofres-lyfr y cangenau hefyd; a danfoner y dygwyddiadau mwyaf hynod atom ninnau i'w cyhoeddi.

Dim ond chwech person, sef, Mathew, Marc, Luc, Ioan, Paul, a Phedr, sydd wedi tystiolaethu eu bod yn llygad-dystion o'r gwyrthiau a gyflwynwyd yn oes gyntaf Cristionogaeth. Nid oes un anghredadyn neu berson allan o'r eglwys wedi cyflwyno i wared unrhyw hanes am wyrthiau ag oedd efe yn llygad-dyst o honynt. Yr ydym yn credu fod tystiolaeth y chwech uchod yn wir: hwynt-hwy eu hunain sydd yn tystiolaethu megys llygad-dystion. Os yw yr Eglwys hon yn dangos tystiolaeth miloedd o lygaid-dystion byw ag sydd wedi gweled, teimlo, a chlywed, pwy na fydd yn alluog i weled fod gan Saint y Dyddiau Diweddaf fil mwy o dystiolaethau o blaid gwyrthiau yn y dyddiau hyn

nag y mae yn bosibl i ddwyn er profi y gwyrthiau yn nyddiau yr apostolion? Pwy fydd mor ddall, na wel fod tystiolaeth chwe mil o dystion byw ag sydd wedi gweled gwýrthiau â'u llygaid eu hunain, yn llawer mwy grymus na thystiolaeth chwech o dystion wedi marw? Pa fodd yr ydym yn credu fod y dyn cloff wrth borth prydferth y deml wedi cael ei iachâu? Yr ydym yn credu hyny o herwydd fod Luc, ysgrifenydd yr Actau, yn dweyd felly. Efe yn unig sydd wedi ysgrifenu y ffaith. Fel gofyniad o'r un natur,—pa fodd y gwna pobl cenedlaethau i ddod gredu fod dyn yn Nghymru, yr hwn oedd hollol fyddar a mud, wedi ei adferu mewn mynyd i glywed a llefaru trwy allu Duw yn ei weision? Credant hyny o herwydd fod rhyw was i Dduw, fel Luc, wedi ysgrifenu yr hanes. Nid yw y dyn cloff a sonia Luc am dano, ddim wedi rhoi i'r byd un hanes o'r wyrth a gyflawnwyd arno ef; ond y mae'r mud a byddar a iachawyd yn Nghymru yn pregethu i dorfeydd. Nid oes un dyn allan o'r eglwys wedi cyflwyno tystiolaeth i waered am y wyrth a wnaed ar y dyn cloff: ond mae golygyddion papyrau, a phersonau anghyssylltiedig a'n heglwys ni, i gyd yn cyfaddef y dygwyddiad rhyfeddol a ddygwyddodd i'r dyn mud a byddar yn Nghymru, ond yr oeddynt yn analluog i gyfrif am hyny; yr un fath ag y dywed Luc, yr oedd yr Iuddewon yn analluog i roddi cyfrif am y wyrth neillduol a gyflawnwyd ar y dyn cloff.

Mae y profion a ddangosa yr eglwys hon o blaid dwyfoldeb y Testament Newydd, yn llawer mwy, ac yn fwy argyhoeddiadol i'r anffyddiwr, na'r holl dystiolaethau hanesyddol a gyhoeddwyd gan Paley, Lardner, a dynion mwyaf dysgedig yr oes Mae cyflawniad gwyrthiau yn ein dyddiau ni yn brawf i'r anffyddwyr fod addewidion ein Hiachawdwr yn y Testament Newydd yn wir. Os oes gwyrthiau yn cael eu cyflawni yn awr, medd yr anffyddiwr, gallent gael eu cyflawni hefyd yn y dyddiau gynt, fel y tystia chwech ysgrifenydd y Testament Newydd. Pan y mae Iesu yn cyflawni yr addewid a wnaeth i'r credinwyr, ac yn achosi arwyddion i'w canlyn hwynt, mae yn rhaid fod y sectariaid yn wir ddall wrth waeddi fod dydd gwyrthiau wedi darfod. Mae

e dawniad geiriau ein Harglwydd i'r credinwyr yn dangos i'r onest ei galon, o bob cenedl, y gwahaniaeth rhwng ei eglwys ef ac eglwysi Pabaidd a Phrotestanaidd, y rhai a roddant heibio yr arwyddion, gan feddu ffurf yn amddifad o alluoedd.

Bydded i'r Saint buro eu calonau o flaen yr Arglwydd, a dysgu ei orchymynion a'u gwneuthur, gan geisio yn ddyfal yr Ysbryd Glân gyda chalonau addfwyn a gostyngedig, fel y byddo i alluoedd y deyrnas hon gael eu hegluro yn fwy nerthol, er dyrysu y gau athrawiaethau a dynoethi y dichellion pregethwrol sydd mor gyffredinol trwy yr holl wlad. Ymdrechwch adnabod ewyllys Duw, ac yna gwnewch hi; a bydd i chwi gynnyddu mewn ffydd a gallu nes y cryna y cenedloedd yn eich presennoldeb.

---

## BARNWYR YR "UDGORN."

Yn fynych condemnir yr Udgorn gan ddynion,
O eisieu cael ynddo rhyw stori ar droion
Am ryw weinidog fo'n filain am geiniog,
Ac hefyd yn chwannog o'r meddwon.

Ac arall ddyweda, fel pe bai ar ddigio,
Ni chym'raf yr Udgorn—mae'n trin y dybaco;
Gwell genyf gael llonydd gan bawb fel eu gilydd,
Ac eistedd yn ddedwydd, a 'smocio.

Na, na, medd y trydydd, a'i olwg yn chwerw,
Un brwnt yw'r dybaco—mae gynddrwg a'r cwrw;
Ond carwn fy hunan gael mwy o ymddyddan,
A 'chydig ymgecran a thwrw.

Taw, taw—'rwyf yn credu fod digon o gynhwr'
Yn mysg yr enwadau, atebai rhyw ffermwr,
Gan waeddi ei waethaf, Rhowch hynt California,
Ac yna ni chadwa'i ddim dwndwr.

Ar hyn dyna ddoethyn yn taflu ei olwg,
Gan ddechreu llefaru a charthu ei wddwg—
Mae gormod o bethau nad oes dim o'u heisieu,
Yn dod trwy'r papyrau, mae'n amlwg.

Oes, oes, medd rhyw bry'ydd, mae'r holl ddarllenyddion
Yn achwyn o gwmpas, o eisieu pennillion;

Ac yna'n difyru gaem oll fel un teulu,
Peth hyfryd yw canu gan ddynion.

Ac arall fŷn hanes y gwledydd a'r gweithiau,
A phrisoedd y defaid, y moch, a'r ceffylau;
Am na chaiff hyny, mae'r gwalch hwn yn gwgu,
Gan ddechreu mawr ffromi ar brydiau.

Ac ambell i ffolddyn ddyweda ei feddwl,
Ei fod ef yn dysgwyl cael clywed y cwbl;
Ac felly 'rwy'n tystio, nas gellir eu boddio,
Pe byddis yn treio'r fath drwbl.

A minnau a weddiaf dros y Golygydd,
Am iddo gael cymhorth gan Ysbryd yr Arglwydd,
Fel byddo trwy hyny yn gwir adeiladu,
Y Seintiau trwy Gymru yn ebrwydd.

*Tre-Sior.* T. H.

---

## BUDDIOLDEB BEIBLAU I'R PAGANIAID.

William—Boreu da i chwi, Thomas. Buasai yn dda genyf pe buasech yn ein capel ni neithiwr, pan oedd ein gweinidog yn son am ddanfon Beiblau i'r Paganiaid. O, fel y teimlem wrth ei wrando. 'Rwyf yn siwr, pe buasech chwi yno, nad arosech ragor gyda'r Seintiau.

Thomas—Wel, rhowch glywed pa beth a ddywedodd; hwyrach fod ganddo rywbeth werth ei wrando. Buais fy hunan yn arfer gwrando llawer ar yr Independiaid yn son am y paganiaid.

William—Dywedodd fod rhwymau mawr ar Gristionogion y wlad hon i anfon y Beibl i blith y paganiaid, yn eu hiaith eu hunain, fel y gallont wybod, fel ninnau, am ffordd y bywyd. Mynegodd am y miloedd a ysgubir bob blwyddyn i'r byd arall, yn amddifad o'r gyfrol santaidd; a dywedodd y dylem ni werthfawrogi ein breintiau, o herwydd fod genym gymmaint o Feiblau, a theimlo hefyd dros y paganiaid.

Thomas—Ai dyna fel y dywedai ef, ynte? Mae y Beibl yn dda ac yn ddefnyddiol i bawb, mae yn wir, ond pa le y cawsoch chwi gommisiwn i gyfieithu, cyhoeddi, a dosparthu y Beibl i'r paganiaid, na neb arall? Fe roddwyd commisiwn i bregethu yr efengyl i'r holl genedloedd, ond nid i chwi y rhoddwyd ef, eithr i'r deuddeg apostol; ond ni roddwyd commissiwn i neb gyfieithu

a dosparthu beiblau! Os ydych am ddilyn yr apostolion, gadewch y cyfan yn llonydd, a phregethwch yr efengyl yn unig. Nid yr efengyl yw y Beibl, canys yn mhell wedi dechreu pregethu yr efengyl, yr ysgrifenwyd llawer o'i gynnwysiad. Ni all y Beibl achub neb; yr efengyl, yr hon yw y "trysor" sydd mewn "llestri pridd," yn unig sydd yn achub. Mae y Beibl yn sicr o fod yn rhwystr mawr i'ch cenadon chwi ac ereill yn mhlith y paganiaid.

William—Pa fodd yn y byd y gall y Beibl fod yn rhwystr.

Thomas—O herwydd ei fod yn dweyd ynghylch pob peth braidd yn hollol groes i'ch cenadon chwi. Tra dyweda y cenadon mai taenellu o lestr a wneir yn y bedydd, a hyny ar fabanod a phawb, ac nad ydyw er maddeuant pechodau, nac ychwaith o bwys mawr; tystia y Beibl "A hwy a fedyddiwyd ganddo ef *yn* yr Iorddonen, gan gyffesu eu pechodau," yr hyn ni allai plant; ac "oddieithr geni dyn o ddwfr, ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw." Tra dywed y cenadon mai ffolineb yw gosod dwylaw ar ol bedyddio, tystia y Beibl i ddau o'r apostolion orfod myned i waered at y Samariaid er gosod dwylaw, cyn y gallent dderbyn yr Ysbryd Glan. Tra dywed y cenadon nad oes arwyddion i ganlyn neb ond yr apostolion, tystia y Beibl, "A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a *gredant*." Tra dywed y cenadon am beidio dysgwyl y doniau ysbrydol, tystia y Beibl y dylid eu "deisyf." Tra dywed y cenadon nad yw yr Ysbryd yn cael ei roddi yn awr yn ei ddoniau eglurhaol megys cynt, tystia y Beibl fod yr addewid o hyny "i bawb yn mhell," a dywed, "Eithr eglurhad yr Ysbryd a roddir i bob un." Tra dywed y cenadon nad oes dim eisieu apostolion a phrophwydi, &c., tystia y Beibl i'r rhai hyny gael eu gosod yn yr eglwys "i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, i adeilad corff Crist, hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd." Tra dywed y cenadon am yru am ddoctoriaid at y claf, tystia y Beibl dros alw ato henuriaid yr eglwys. Mewn gwirionedd, beth bynag a ddywed y cenadon, mae y Beibl yn siwr o'u croesi; ac y mae'r paganiaid, os ydynt yn gallu darllen, yn ffolach nag anifeiliaid, os credant y Beibl a'r cenadon. Buasai yn well i'r cenadon argraffu eu cyffes ffydd, a gadael y Beibl i'r Saint, y rhai yn unig sydd yn unol ag ef yn mhob peth.

William—Wel, yn wir, Thomas, eich cwrdd chwi oedd y lwc oreu i mi erioed. Ffarwel yn awr; byddwn yn frodyr cyn hir.

## DIAREBION MORMONAIDD.

LAMP y bydysawd, yr hon a grogir yn y nefoedd, yw yr oreu a mwyaf rhad o bob lamp sydd yn y byd.

Dewisa y dyn call hon o flaen un arall; ond y ffol a gysga tra byddo yr haul boreuol yn tywynu, ac a oleua lamp ar ol iddo fachlud.

Mae hyn yr un fath â thori brethyn o un pen i ddernyn, a'i wnïo wrth y pen arall er ei wneyd yn hirach.

Mae yr hwn sydd yn cysgu pan fyddo yr haul yn goleuo, ac yn cynneu ei lamp pan na fyddo, yn diystyru lamp Duw, ac yn trethu ei lygaid a'i bwrs am ddim.

Diwydrwydd sydd yn myned law yn llaw gyda duwioldeb. Mae yn anrhydedd i fod yn amaethwr, oblegid un felly yw ein Tad yr hwn sydd yn y nefoedd. Efe ddarfu blanu gyntaf ar y ddaear.

Mae yn dda hefyd i fod yn daeliwr, oblegid ein Tad o'r nefoedd oedd y taeliwr cyntaf ar y blaned hon. Gwnaeth ef beisiau i Adda ac Efa, pan oeddynt yn ieuainc ac yn ddi-brofiad; ac felly eu dilladu.

Mae yn dda hefyd i ysgrifenu, oblegid yr oedd ein Tad o'r nefoedd yn ysgrifenydd. Ysgrifenodd â'i fysedd ei hun ar y llechau ceryg.

Y mae adeiladu llongau, temlau, a thai, yn dduwioldeb hefyd; oblegid yr oedd Duw yn feistr gwaith yn yr holl gelfyddydau hyn. Efe roddodd batrwn y llong gyntaf i Noah; ac efe oedd prif-adeiliadydd tabernacl Moses, a theml Solomon.

Y dyn doeth a ddilyna ei gynlluniau ef; ond y ffyliaid a adeiladant synagogau yn ol eu meddyliau eu hunain.

Mawr yw dirgelwch anwiredd, a thwyll; ond y mae gwirionedd yn hunan-eglur, ac yn rhwydd i'w amgyffred.

"Gwirionedd yw gwybodaeth o bethau, fel y maent, fel yr oeddynt, ac fel y byddant etto."

Mae pob gwirionedd yn anymddibynol yn ei gylch ei hun. Mae ei gyfreithiau yn hollalluog, yn dragywyddol, ac yn anghyfnewidiol.

"Gwybodaeth, neu oleuni gwirionedd, ni chafodd erioed ei greu, ac yn wir ni ellir ei greu byth."

Gwirionedd yw goleuni—goleuni yw ysbryd—ysbryd yw

bywyd. Gwirionedd, goleuni, ac ysbryd, yw cyfraith y bywyd a'r gweithrediad, trwy y rhai y mae pob peth yn cael eu llywodraethu, a thrwy y rhai y maent yn symud ac yn bod.

Gwirionedd a gyfiawnha.

Gwirionedd a santeiddia.

Gwirionedd a bura.

Gwirionedd a ddyrchafa ddyn i orsedd y nef, ac a'i corona â bywyd tragywyddol a llywodraeth yn mhresenoldeb y Jehofah.

Mae gwirionedd yn dyfod at ddyn trwy wybodaethyddion goruchel; trwy lais Duw, trwy weinyddiad angylion, a thrwy Ysbryd santaidd prophwydoliaeth a dadguddiad.

Yn eich holl ennilliadau, ennillwch wirionedd, oblegid rhydd hwn fywyd tragywyddol i chwi, ac a'ch corona chwi â chyfoeth ac anrhydedd, y rhai na ddiflanant yn dragywydd.—*O'r Frontier Guardian, Gorph.* 11, 1849.

---

## CAWOD O GIG A GWAED.

Yr ydym yn dyfynu o'r "Fayettville Carolinian," am y 9fed o Fawrth, y dernyn canlynol mewn perthynas i'r rhyfeddod neillduol a welwyd yn ddiweddar yn North Carolina:—" Dydd Mercher, derbyniasom yr ohebiaeth ganlynol oddiwrth Mr. Clarkson, trwy Mr. Holland, o Clinton, a chawn bleser mawr wrth gyfleu yr amgylchiad rhyfeddol o flaen ein darllenwyr:—'Ar y 15fed o Chwefror, 1850, disgynodd, o fewn 100 llath i dy Thomas M. Clarkson, yn swydd Sampson, gawod o gig a gwaed, oddeutu 30 troedfedd o led, ac, mor bell ag yr olrheiniwyd, oddeutu 250 neu 300 o latheni o hyd. Y darnau a ymddangosent yn gig, afu, ysgyfaint, ymenydd, a gwaed. Rhedai peth o'r gwaed ar y dail, ac ymddangosai yn ffresh iawn. Yr oedd tri o'i blant ef (T. M. C.) allan yn y gawod, a rhedesant at eu mam, gan waeddi, 'Mam, mae cig yn disgyn!' Aeth eu mam yn union i weled, ond yr oedd y gawod drosodd, eithr yr oedd y cig, &c., ar hyd y llawr. Yr oedd Neil Campbell, Ysw., yr hwn sydd yn byw gerllaw, yn y fan yn fuan wedi i'r gawod ddisgyn, a barnodd y cwbl fel y tystiolaethir uchod. Yr oedd un o'i blant oddeutu 150 o latheni oddiwrth y gawod, a daeth gan redeg at y lleill, gan ddywedyd ei fod yn arogli rhywbeth fel gwaed. Yn ystod yr amser y disgynai, yr oedd cwmwl uwchben, o ymddangosiad cochlyd, megys cwmwl

gwynt. Nid oedd dim gwlaw. Gellir ymddibynu ar eirwirdeb yr uchod; a thrwy Mr. Holland cewch ddarnau o'r cig, y rhai sydd wedi sychu wrth eu cadw mor hir. Yr eiddoch, &c., T. M. C."
Mae y dernyn sydd wedi ei adael gyda ni wedi ei chwilio trwy ddau o'r chwyddwydrau goreu yn y lle, ac y mae bodoliaeth gwaed wedi ei brofi; ond nid oedd dim yn dangos pa beth oedd cymeriad y sylwedd. Mae ei arogl pan yn sych, a phan yn wlych mewn dwfr, yr un fath â chig braenedig; ac nid oes braidd ammheuaeth nad dyna beth yw."

---

## Y TAD, Y MAB, A'R YSBRYD GLAN.

Ar ol bwriadu amryw droion, arweinir ni yn awr i ysgrifenu ein golygiadau mewn perthynas i'r Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân, fel y gallo pawb wybod ein barn ar destunau sydd yn ymddangos mor ddyryslyd i lawer. Y mae y tri uchod yn dal perthynas agos â ni; ac fe ddylai ein bod yn gwybod rhywbeth am danynt; canys y mae un yn Dad i ni, y llall yn Frawd, a'r trydydd yn Ddyddanydd arall. Yn enw y tri hyn y cawsom ein bedyddio, ac y dygwyd ni allan o deyrnas y tywyllwch i deyrnas y goleuni; ac yn awr, wedi derbyn yr Ysbryd Glân, yn ol yr addewid, gallwn wybod pa beth ydyw, a thrwy yr Ysbryd hwn gallwn ddweyd mai y Crist fu ar y ddaear yw y Mab, ac mai y Tad yw y person gogoneddus hwnw ag yr eisteddai Iesu Grist ar ei ddeheulaw yn y nefoedd. Nid un yw y tri uchod; oblegid y mae'r Tad ei hun yn un, a'r Mab yn un, a'r Ysbryd Glân yn un; ac felly un dairgwaith yw tri, ac nid mwy na llai. Mae y Tad a'r Mab yn ddau berson gwahanol; ac y mae yr Ysbryd Glân yn sylwedd sydd yn deillio oddiwrth y Tad a'r Mab. Er hyny mewn llawer o bethau, mae y tri hyn yn un, megys y dangosa yr ysgrythyrau; a gellir dweyd fod y Tad yn Dduw, y Mab yn Dduw, a'r Ysbryd Glân yn Dduw; a bod y tri yn Dduwiau sylweddol. Eithr er mwyn trefn, cawn sylwi ar y tri dan wahanol benau, gan ddechreu gyda'r cyntaf, sef—

### Y TAD.

Creda pawb fod y Tad yn Dduw, ac mai gwir yw yr ysgrythyr a ddywed mai *Ysbryd* yw: ond haera llawer mai peth ansylweddol yw ysbryd, tra credwn ninnau mai yr unig beth ansylweddol yw

*dim.* Mae y Tad yn fod sylweddol. Peth sylweddol hollol yw'r defnydd sydd yn ei gyfansoddi. Er hyny mae y defnydd hwn mewn rhai pethau yn dra gwahanol i'r defnyddiau mwyaf adnabyddus i ni; ac mewn pethau ereill y mae yn gymhwys yr un fath â phob defnydd arall. Y mae sylwedd ei gorff yn llanw gwagle yr un fath a rhyw ddefnydd arall; a pherthyn iddo galedrwydd, hyd, lled, a thrwch, fel pob defnyddiau ereill. Nid yw defnyddiau elfenol ei gorff yn gallu meddiannu, ar yr un pryd, yr un gwagle, ag a feddianna rhyw fater arall; ac ni all sylwedd ei berson, mwy na phob sylwedd arall, fod mewn dau le ar yr un amser. Hefyd, gofyna amser i symud ei hun o un man i'r llall. Nid yw wahaniaeth pa mor gyflym yw ei symudiadau, mae amser yn anhebgorol i bob symudiad, buan neu araf. Mae yn gwahaniaethu oddiwrth bob mater arall yn rhagoroldeb ei allnoedd, gan ei fod yn wybodus, yn holl ddoeth, ac yn meddu y gallu o hunan-symudiad i raddau mwy o lawer na defnyddiau garwaf natur. Nid yw fod Duw yn *Ysbryd* ddim yn ei wneyd yn fod ansylweddol. Mae "bod ansylweddol" yn wrth-ddywediad; ac nid yw ansylweddoldeb ond enw arall ar *ddim.* Mae ysbryd yn gymmaint o ddefnydd â'r hyn a elwir yn *oxigen* neu *hydrogen.* Medda lawer o briodoleddau yn gyffredin fel rhyw fater arall. Mae fferyllwyr wedi darganfod oddeutu trugain math o ddefnyddiau; ac y mae pob un yn meddu ar rai priodoleddau ag sydd yn berthynol i'r lleill, a rhai priodoleddau perthynol iddynt eu hunain nad oes yn meddiant y rhai ereill. Yn awr, ni wnai un fferyllwr, wrth ddosranu ei sylweddau, ryfygu dweyd, Mae y sylwedd hwn yn ddefnyddiol, ond y sylwedd yna sydd yn annefnyddiol, o herwydd ei fod yn gwahaniaethu mewn rhai pethau oddiwrth y cyntaf. Galwai ef y cyfan yn ddefnyddiol, er eu bod mewn rhai pethau yn gwahaniaethu yn fawr. Felly, mae y sylwedd a elwir ysbryd yn ddefnyddiol, er ei fod yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth ddefnyddiau ereill. Nid yw ond ychwanegiad o elfen arall o natur fwy pwerus nag un a ddarganfyddwyd hyd yn hyn.

Gan mai Ysbryd yw Duw, a bod yr ysgrythyr yn dweyd, nad oes gan ysbryd *gnawd ac esgyrn,* meddylia llawer nad yw y Tad yn fod sylweddol; ond yr un peth ydyw meddwl nad yw tŷ neu graig yn sylweddol, oblegid na feddant gnawd ac esgyrn, â meddwl hyny. Gall ysbryd fod ar lun a delw dyn, yn weledig,

ac yn deimladwy hefyd, heb fod yn meddu cnawd ac esgyrn. Ymddengys mai cnawd ac esgyrn yw y gwahaniaeth sydd rhwng dyn ac ysbryd; fel y gallwn ddeall wrth yr hyn a ddywedodd Iesu Grist wrth ei ddyscyblion, pan feddyliasant hwy mai ysbryd ydoedd.

Er fod ysbryd yn sylweddol, ymddengys y medda ar alluoedd i ymeangu a chyfyngu ei hun fel yr ewyllysia. Mae yn ddiau fod ysbryd baban mor fawr ag ysbryd dyn mewn oed, ond ei fod yn cyfyngu ac yn ymeangu ei hun i gyfateb y corff. Yr oedd corff ysbrydol Crist, pan y gwelwyd ef yn flaenorol i'w ymgnawdoliad, yn ymddangos o faintioli dyn; ond pan y ganwyd ef o Fair forwyn, yr oedd yn rhaid fod ei ysbryd wedi ei gyfyngu at faintioli baban, a'i fod wedi hyny yn ymeangu gyda'r corff, nes cyrhaedd ei faintioli blaenorol. Ond er dangos y gallu hwn yn amlygach etto, canfyddwn yn yr ysgrythyrau fod saith o ysbrydion yn medru llettya yn nghorff Mair Magdalen, a lleng o honynt mewn dyn arall. Wedi bwrw y lleng allan o'r dyn hwnw, ymddengys iddynt ymeangu gymmaint nes bod yn alluog i fyned i bob mochyn yn yr holl genfaint, a'u harwain dros y dibyn i'r môr. Ymddengys yn rhesymol wrth hyn nad yw gwahanol ronynau ysbryd mor gydiedig wrth eu gilydd, nad allant fyned i mewn a dyfod allan o gorff, trwy gyfleu eu hunain yn y dull mwyaf manteisiol. Mae yn rhaid hefyd fod gronynau ysbryd yn llawer teneuach nâ gronynau defnyddiau cyffredin, cyn y gallant dreiddio i mewn rhyngddynt, megys ag yr ymddengys y maent yn gwneuthur yn y corff dynol. Mae halen neu siwgr, trwy fod eu gronynau yn fanach na gronynau dwfr, yn gallu ymdreiddio i mewn rhyngddynt, heb wneyd y dwfr ddim yn fwy.

Ond yn awr, cawn fyned yn fwy uniongyrchol i sylwi ar berson y Tad, yn ol ein haddewid, gan ein bod wedi dangos i raddau pa beth ydyw ysbryd. Ac yn gyntaf, cawn glywed pa beth a ddywed y Llyfr Gweddi Cyffredin ynghylch Duw, neu y Tad. Llefara yr erthygl gyntaf fel y canlyn :—

"Nid oes ond un gwir Dduw byw, tragywyddol, *heb gorff, heb ranau, heb ddyoddefiadau* (*passions*); o anfeidrol allu, doethineb, a daioni; Gwneuthurwr a Chynnaliwr pob peth gweledig ac anweledig. Ac yn undod y Duwdod yma y mae tri pherson, o un sylwedd, galluogrwydd, a thragywyddoldeb; y Tad, y Mab,

a'r Ysbryd Glân." Nid yw Eglwys Loegr, yn fwy nâ ninnau, wedi dangos ein hysgrythyrau, i brofi cywirdeb ein haeriadau. Mae hyny yn aros heb ei wneyd, a meddyliwn yr erys byth heb ei wneyd, o rân yr Eglwys, oblegid y mae yn waith lled anhawdd; ond fe ymdrechwn ni i ddyfod ag ysgrythyrau i gadarnhau a phrofi ein dywediadau, oblegid fod hyny yn waith digon rhwydd.

Gan hyny, cawn chwilio yr ysgrythyrau, er gweled a oes rhyw sail i gredu mewn Duw "heb gorff, heb ranau, heb ddyoddefiadau," neu ynte, ryw sail i gredu ei fod yn Dduw yn meddu ar gorff, rhanau, yn gystal â dyoddefiadau neu nwydau. Yn Gen. i, 27, dywedir, "Felly Duw a greodd y dyn ar ei ddelw ei hun;" yr hyn a ddengys pe buasai Duw heb gorff na rhanau, y byddai dyn hefyd yr un fath, gan ei fod wedi ei greu ar ei lun a'i ddelw ei hun. Ond rhag i neb ddilyn esiampl y sarff, yn y fan hyn, i esbonio, caiff yr ysgrythyr esbonio ei hunan. Yn Gen. v, 3, darllenir, "Ac Adda a fu byw ddeng mlynedd ar hugain a chant, ac a genedlodd fab ar ei lun a'i ddelw ei hun, ac alwodd ei enw ef Seth." Yn awr, y mae yn rhaid fod Seth ar lun a delw Adda, yn yr un ystyr ag yr oedd Adda ar lun a delw Duw. Nid rhyw ddelw foesol a feddylir, ond delw corfforol; oblegid yr un fath y llefarir am Adda ac am Seth. Os mai cyfeiriad a wneir at foesoldeb Adda cyn y cwymp, pan y dywedir iddo gael ei greu ar lun a delw Duw; nid cyfeiriad at hyny a wneir mewn perthynas i Seth, canys yr oedd ei dad wedi syrthio o'i gyflwr moesol cyn iddo gael ei genedlu. Peth arall sydd yn profi fod Duw yn meddu corff a rhanau, yw fod Crist "yn wir lun ei *berson* ef," ar ol iddo ymgnawdoli megys dyn. (Gwel Heb. i, 3.) Mae hyn yn dangos fod y Tad yn berson sylweddol, a bod y Mab yn *wir lun* y person sylweddol hwnw. Y mae gan Iesu Grist gorff a rhanau, yn gystal â nwydau; ac y mae yn rhaid fod hyny gan Dduw hefyd, onide ni allai Iesu Grist fod yn wir lun ei berson Ef. Y mae yn wir fod cyrff nefol a chyrff daearol; ond y mae eu delw yn gyffelyb. Yr oedd Crist ar lun a delw dyn wedi ei adgyfodiad, yn gystâl a chyn ei groeshoeliad; ac yr oedd mor debyg wedi adgyfodi, ag o'r blaen, fel y gallai ei ddyscyblion yn rhwydd ei adnabod, pan y bu yn cyd-fwyta â hwynt.

Yr oedd holl ymddangosiadau Duw i Abraham, yn ddigonol

i brofi ei fod yn meddu corff, rhanau, a nwydau, fel dyn, pe na buasai dim arall yn profi hyny. Yn Gen. xviii, dywedir i'r Arglwydd, yn nghwmpeini dau angel, ymddangos i Abraham yn ngwastadedd Mamre. Yr oedd yr Arglwydd yn cerdded tuag at Abraham, a rhedodd yntau i'w gyfarfod; yna gorchymynodd Abraham am ddwfr er golchi traed yr Arglwydd a'r angylion; a mynodd deisenau, a "llo tyner a da," ac ymenyn, ac a'u gosododd o'u blaen; "a hwy," medd yr ysgrythyr, "a fwytasant." "A'r gwyr a godasant oddi yno, ac a edrychasant tua Sodom; ac Abraham a aeth gyda hwynt, i'w hanfon hwynt." "A'r gwyr a droisant oddi yno, ac a aethant tua Sodom: ac Abraham yn sefyll etto gerbron yr Arglwydd;" "a'r Arglwydd a aeth ymaith pan ddarfu iddo ymddyddan ag Abraham." Yn awr, os nad oedd yma gyrff sylweddol, pa fodd yn y byd y gellid golchi eu traed, &c.; a pha fodd y gallent hwythau fwyta cig llo a theisenau? Ond, meddai rhywun, cyrff benthyg oedd ganddynt. Caniateir hyny yn rhwydd, pan y caffo ei brofi o'r ysgrythyr; eithr nid cyn hyny: yr un peth fuasai dweyd mai corff benthyg oedd gan Abraham hefyd. Ond na cham-ddealler ni ynghylch y cyrff hyn: dweyd ydym fod gan yr Arglwydd, a chan bob ysbryd arall, gorff sylweddol; ac y gall corff fod yn sylweddol, heb feddu cnawd ac esgyrn. Mae yr Arglwydd, yn fynych, yn yr ysgrythyrau, yn cael ei alw yn "graig," "amddiffynfa," "tŵr," "tarian," &c.; ond nid oes neb wedi ei weled yn ymddangos ar lun pethau felly, eithr ar lun dyn yn unig.

Diobon y dadleuir erbyn hyn fod Ioan yr apostol yn dweyd, "Ni welodd neb Dduw erioed" (Ioan i, 18); a chan hyny mai ofer yw dwyn enghreifftiau o'r Hen Destament er profi i'r gwrthwyneb. Yn wir, mae Duw hefyd wedi dweyd wrth Moses, "Ni'm gwel dyn, a byw," yr hyn sydd yn cadarnhau y dywediad uchod. Ond os darllenir yr ysgrythyr gyssylltiedig (yn Exodus xxxiii, 18—23), ceir gweled fod Moses yn ceisio gan yr Arglwydd, "Dangos i mi, atolwg dy *ogoniant*;" i'r hyn yr atebodd yr Arglwydd, "Ni elli weled fy *wyneb*: canys ni'm gwel dyn a byw;" a dywedodd hefyd, "Wele fan yn fy ymyl, lle cai sefyll ar y graig: a thra yr elo fy NGOGONIANT heibio, mi a'th osodaf o fewn agen yn y graig; a mi a'th orchuddiaf a'm llaw, nes i mi fyned heibio. Yna y tynaf ymaith fy llaw, a'm *tu cefn* a gai di ei weled; ond ni welir fy *wyneb*," sef ei wyneb

yn ei ogoniant, wrth gwrs; canys dywed adn. 11 fod yr Arglwydd, yn flaenorol i hyny, yn llefaru wrth Moses "wyneb yn wyneb, fel y llefarai gwr wrth ei gyfaill." Etto, y mae amgylchiad arall hefyd yn yr ysgrythyr, yn rhoddi goleuni mawr ar y mater uchod, ac yn dangos fod Duw yn weledig, a bod ganddo gorff teimladwy megys dyn. Yr amgylchiad hyny yw, ymdrech Jacob â Duw. Yn Gen. xxxii, 24—30, darllenwn fod Jacob yn ymdrechu â gwr, nes codi y wawr, er cael bendith ganddo; ac iddo ofyn i'r gwr ei enw, yr hwn a atebodd, "I ba beth y gofyni hyn am fy enw i?" "Ac yno efe a'i bendithiodd ef. A Jacob a alwodd enw y fan, Peniel: oblegid *gwelais Dduw wyneb yn wyneb, a dianygodd fy einioes.*" Ni wyddai Jacob ar y dechreu mai â Duw yr oedd yn ymdrechu, er ei fod yn ei weled; ond wedi gofyn am ei enw, a chael ei fendithio ganddo, deallodd pwy oedd rhwng ei freichiau, a gwelodd Dduw wyneb yn wyneb; ond nid yw yn ymddangos iddo weled ei ogoniant, yn neillduol gogoniant ei wyneb, onide ni allai ddianc yn fyw; canys ni ellir gweled ei wyneb ef yn ei ogoniant, a byw. Ni ellir gweled Duw mewn un ffordd, heb fod dyn yn feddiannol ar offeiriadaeth Melchisedec, yr hon sydd yn meddu hawl i gyfrinachu â Duw wyneb yn wyneb, fel Moses. Yr oedd Moses yn sefyll yn ngwyddfod yr Arglwydd yn fynych; ond pe gwnelai y bobl hyny, syrthient yn farw o'i flaen; canys ni allent edrych ar wyneb Moses, pan yr oedd yn dyfod i waered o'r mynydd, serch edrych ar wyneb Duw. Mae gallu gan Dduw i guddio ei ogoniant pan y myno, a dangos dim ond ei berson; ac ni chofiwn yn awr fod neb ond Moses wedi gweled Duw yn ei ogoniant, ac nid heb gryn ofal y dangosodd Duw ei hun yn y dull hyny iddo ef, rhag iddo farw.

Fe welir, bellach, fod gan y Tad gorff, rhanau, a nwydau, megys dyn; a'i fod yn medru clywed, siarad, bwyta, cerdded, &c., ac yn alluog i ddigio neu garu. Ond nid yw fod Duw ar lun a delw dyn, neu yn hytrach fod dyn ar lun a delw Duw, yn gwneyd i Dduw fod fel dyn yn mhob peth. Na, canys y mae Duw yn meddu ar alluoedd rhagorach nâ dyn: nid yn unig y mae yn gallu cerdded, ond hefyd ehedeg o un man i'r llall yn yr awyr, yn ol ei ewyllys, megys y gwelir yn Gen. xvii, 22; xi, 5; xxxv, 13. Eithr mae yn amlwg y daw dynion i allu symud felly trwy yr awyr, megys ag y mae Enoc ac Elias, trwy eu ffydd, wedi gwneuthur. Yn yr adgyfodiad wedi meddu cyrff ysbrydol o

gnawd ac esgyrn, fel corff gogoneddus Iesu Grist, bydd lluoedd yn ehedeg i'r awyr i gyfarfod â'r Arglwydd.

Er ceisio profi nad oes gan Dduw gorff, ond mai rhywbeth ydyw sydd yn mhob man ar unwaith, ac yn anweledig ac annirnadwy i bob dyn, cyfeirir yn aml at eiriau Dafydd, yn Salm cxxxix, 7—10—" I ba le yr af oddiwrth dy *ysbryd* ? ac i ba le y ffoaf o'th wydd ? Os dringaf i'r nefoedd, yno yr wyt ti : os cyweiriaf fy ngwely yn uffern, wele di yno. Pe cymmerwn adenydd y wawr, a phe trigwn yn eithafoedd y môr ; yno hefyd y'm tywysai dy law, ac y'm daliai dy ddeheulaw," &c. Yn awr, dangos mae Dafydd mai *ysbryd* yr Arglwydd, ac nid efe ei hun, sydd yn bresennol yn mhob man. Mae yr Ysbryd, fel y cawn ddangos etto, yn gallu bod mewn llawer man ar yr un pryd; a gellir dweyd am dano, yn ddigon priodol, ei fod yn holl-bresennol, er nad ydyw yr un gronynau yn holl-bresennol. Ond rhagor ar hyn etto.

Hefyd, er dangos fod Duw mewn mwy nag un man ar yr un pryd, cyfeiria llawer at Deut. iv, 39—" Yr Arglwydd sydd Dduw yn y nefoedd oddi arnodd, ac ar y ddaear oddi tanodd ; ac nid neb arall." Y mae hyna yr un peth â dweyd fod Victoria mewn mwy nag un man ar yr un pryd, o herwydd ei bod yn Frenines yn Lloegr yma, ac yn yr Iwerddon draw. Mae yr Arglwydd yn Dduw yn mhob man ; ond nid yw hyny yn profi ei fod ef ei hun yn bresennol yn mhob man ar yr un amser. Mae hyny yn groes i reswm, ac yn groes i ysgrythyr. Mae meddwl fod Duw yn llanw pob man ar yr un pryd, yr un fath â meddwl fod teyrnas Dduw o fewn calon dyn ! Tybia llawer hyny. Cyn y gallai pob dyn feddu teyrnas Dduw, buasai raid i Dduw drefnu rhagor o deyrnasoedd nag un ; am y buasai brenin, swyddogion, cyfreithiau, a deiliaid un deyrnas yn myned i galon un dyn ! Clywsom rai, wrth ddadleu hefyd dros holl-bresennoldeb Duw, yn dweyd ei fod yn bresennol yn nghalon y meddwyn, y lleidr, a'r godinebwr, yr un fath ag yn nghalon y Cristion. Yr oedd hyny yn eithaf cysson, os mai un felly yw Duw ; ond pa le y mae'r ysgrythyr sydd yn egluro hyny. Nid un felly oedd Duw Abraham, Isaac, a Jacob ; yr oedd hwnw yn esgyn ac yn disgyn, ac o faintioli gwr ; yn bwyta, yn siarad, ac yn ymdeithio ar hyd y ddaear. Nid Duw disylwedd oedd hwnw, canys yr oedd Jacob yn ymdrechu ag ef am hir amser, a chafodd gyfleusdra i wybod fod yno gorff

sylweddol a theimladwy. Mae y dynion sydd yn addoli Duw ansylweddol, di-ffurf, di gorff, anweledig, anamgyffredadwy, yn ffolach nag inffidelaid. Dylai doethion ein gwlad gywilyddio am eu bod wedi myned mor ynfyd. Mae hyd y nod y paganiaid yn gallach o'r hanner: mae duwiau y rhai hyny yn debyg mewn rhai pethau, megys maintioli, defnydd a dull; ond am dduw crefyddwyr y wlad hon, mae yn bob peth ac yn ddim. Nid oes achos ofni y tŷn neb lun y duw sectaraidd; ond am Dduw Israel, yr oedd y bobl mor fedrus i dynu ei lun ef, fel y gorfu i Dduw ei hun wahardd hyny yn bendant, rhag iddynt addoli y llun, yn lle y gwir Dduw.

Wedi dweyd mwy nag oeddym yn feddwl ynghylch y Tad, cawn ohirio sylwi ar y Mab a'r Ysbryd Glân hyd y nesaf.

---

## CYMMANFA GYFFREDINOL NEILLDUOL, AC YMWELIAD YR APOSTOL J. TAYLOR A CHYMRU.

AR y 9fed o Fehefin presennol, cynnaliwyd cymmanfa gyffredinol neillduol, yn Merthyr-Tydfil, er groesawu ymweliad yr Apostol John Taylor â'r lle, yn ol ei addewid ychydig ddyddiau yn flaenorol. Agorwyd y gymmanfa, yn Neuadd y Cymreigyddion, am unarddeg, gan y Llywydd Phillips, trwy ganu a gweddio. Yna wedi iddo ddysgu yn effeithiol am ryw amser, daeth y newydd i'r neuadd fod yr Apostol wedi dyfod i mewn gyda'r ager gerbyd, ac y buasai yn fuan yn bresennol yn y neuadd. Yn y cyfamser, darllenodd y brawd Davis, yn Gymraeg ac yn Saesneg, gynnrychiolad Cymru oddiar Nadolig diweddaf hyd y laf o Fehefin, yr hwn sydd fel y canlyn:—

| *Rhif.* | *Cynnadleddau.* | *Cang.* | *A.* | *Hen.* | *Off.* | *Ath.* | *Di.* | *Tôr* | *Mar.* | *Ymf.* | *Bed.* | *Oll.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 | Dwyreiniol Morganwg | 23 | 2 | 136 | 87 | 105 | 53 | 82 | 7 | 43 | 280 | 1803 |
| 2 | Gorllewinol Morganwg | 18 | 1 | 69 | 31 | 31 | 16 | 17 | 2 | 0 | 92 | 546 |
| 3 | Sir Fynwy .......... | 14 | 0 | 64 | 32 | 30 | 22 | 35 | 5 | 1 | 114 | 652 |
| 4 | Sir Gaerfyrddin .... | 17 | 0 | 72 | 34 | 33 | 17 | 40 | 1 | 7 | 96 | 648 |
| 5 | Sir Benfro .......... | 11 | 0 | 15 | 9 | 6 | 4 | 8 | 0 | 13 | 46 | 179 |
| 6 | Sir Aberteifi ........ | 4 | 0 | 12 | 9 | 2 | 3 | 1 | 1 | 0 | 14 | 73 |
| 7 | Sir Fon ............ | 4 | 0 | 10 | 6 | 1 | 1 | 7 | 1 | 0 | 18 | 76 |
| 8 | Sir Feirionydd ...... | 5 | 0 | 12 | 7 | 1 | 1 | 8 | 0 | 1 | 22 | 75 |
| 9 | Sir Frycheiniog...... | 5 | 0 | 10 | 4 | 2 | 4 | 16 | 0 | 4 | 18 | 68 |
| 10 | Sir Ddinbych......... | 4 | 0 | 11 | 14 | 5 | 6 | 2 | 0 | 0 | 21 | 143 |
| 11 | Sir Fflint .......... | 5 | 0 | 12 | 9 | 3 | 1 | 6 | 0 | 2 | 10 | 79 |
| | Cyfanswm .... | 110 | 3 | 423 | 242 | 219 | 128 | 222 | 17 | 71 | 731 | 4342 |

[Y mae 15 o gangenau, yn cynnwys oddeutu 450 o aelodau, wedi eu cyflwyno drosodd o Gymru i Gynnadledd Sir Henffordd, yn Lloegr, oddiar y Cynnrychioliad blaenorol, yr hyn sydd wedi lleihau y cyfanswm.]

Yna, oddeutu deuddeg o'r gloch, wedi i'r Apostol Taylor bresenoli ei hun ar yr esgynlawr, canodd y Saint y "Welome Hymn," yr hon a gyfansoddodd y brawd Davis i ateb yr amgylchiad. Ar ol hyny, galwodd y Llywydd ar yr Apostol i aneich y bobl, yr hyn a wnaeth yn debyg i hyn:—

"Nid wyf fi," ebe efe, "wedi dyfod yma i ddangos fy hun, ond i'ch gwneuthur chwi i ddeall. Mae yn dda genyf gael bod yn eich plith unwaith yn rhagor; a gallaf ddweyd fy mod wedi gweled llawer gwyneb oddiar pan fum yma o'r blaen, ac wedi teithio dros 17,000 o filltiroedd. Y pryd hyny, gadewais fy ngartref, os mai gartref oedd anialwch Council Bluffs, yn nghwmpeini Orson Hyde a P. P. Pratt; a thrwy ddadguddiad, daethom ein tri drosodd i'r ynys hon, i ddiwygio yr eglwys; ac oddiar hyny y mae yn dda genyf fod llawer iawn o waith wedi ei wneyd. Yr wyf yn dyfod yn awr o'r Dyffryn, i fyned at genedl arall. Darfu i mi gyfarfod ar y ffordd â'ch anwyl Gapt. Jones, o fewn ychydig filltiroedd i'r Dyffryn; ac yr oedd efe a'i gwmpeini yn bur gysurus. Canasant hymn Gymreig, a boddlonwyd fi a'r apostolion ereill yn fawr, a darfu i ni eu bendithio hwynt. Mae Capt. Jones yn ddyn da, ac y mae genym ni yma ddynion da hefyd; mae yr Ysbryd o'm mewn yn tystiolaethu hyny. Mae yn llawenydd genyf weled y gynnulleidfa hon, ac yr wyf yn eu bendithio yn enw Iesu Grist. Yr ydym oll yn cyd-ddyoddef yn mhob sefyllfa. Dywed rhai fod erlidigaeth yn anhawdd ei dyoddef; ond ni ddylai hyny ofidio dim arnom, canys trwy ddyoddefiadau y mae i ni gael ein perffeithio. Efelly y cafodd y dyscyblion gynt eu perffeithio. Nid yw erlidigaeth erioed wedi ein niweidio; nac ydyw; ac nid yw ychwaith wedi niweidio yr eglwys; canys pob tro ag yr erlidiwyd y Saint allan o'u cyffiniau, yr oedd y cyfan er daioni. Yn nhalaeth Missouri, cyn i'r apostolion gael eu gyru i'r wlad hon, erlidiwyd y Saint yn greulawn, a dinystriwyd eu meddiannau; ac wedi casglu gymmaint a allent o'r gweddill, diangodd y Saint i le arall. Dyoddefodd llawer yn enbyd o'r herwydd; gwelais hwynt mewn pob math o galedi. Ond yn lle bod hyn yn troi er niwed, yr oedd y cyfan yn troi er daioni; ac er fod rhai yn colli eu bywydau, etto yr oeddynt yn marw yn yr Arglwydd. Gall yr Arglwydd wneuthur â ni fel y myno—naill ai ein cadw i lawr, neu ein codi i fyny. I Nauvoo, yn Illinois, y daethant wedi hyny; ac er colli llawer yn flaenorol,

daethant yn fuan i feddiant o well dinas a gwlad nag un o'r rhai blaenorol. Cawsant yno bob peth ag oedd yn perthyn i freintiau dinas. Llwyddasant yn fawr yn y lle hwnw, nes y rhagorai eu dinas ar bob un yn Illinois, ac yr oedd eu teml yn adeilad heb ei gyffelyb yn y dalaeth. Erbyn hyn yr oedd pawb yn eu parchu, ac yn erfyn eu ffafr. Ond yn fuan eilwaith, cymmerodd y gelynion achlysur i'w herlid oherwydd eu crefydd, nes i Joseph ac Hyrum gael eu merthyru ganddynt. Yr oedd gallu gan y Saint i orchfygu, ond etto ni wnaethant hyny; canys yr oedd yn well ganddynt i ffoi i'r mynyddoedd, gan adael eu holl olud ar ol—ffermydd, &c., rhagorach nâ dim a welir yn y wlad hon. Yr oedd yr apostolion yn gwybod am California cyn i Joseph gael ei ladd; canys yr oeddwn i fy hun, fel y gŵyr Dr. Levi Richards, wedi cyfansoddi cân ynghylch "Upper California," yn ystod yr amser hyny. Nid oedd Nauvoo ond lle i aros megys am dymmor; yr oeddym ni wedi cael gwybodaeth am wlad arall, a dangosodd yr Arglwydd y fan. Yn amser yr erlidigaeth ddiweddaf hon, yr oedd y gelynion wedi credu yn hollol fod Mormoniaeth wedi darfod, eithr daethant yn fuan i wybod fel arall. Yr oedd y cyfan a wnaethent yn troi er daioni, serch i ni adael teuluoedd mor anwyl â theuluoedd Saint Cymreig. Mae Duw wedi dangos mae efe yw ein Duw ni. Wel, pa fodd y mae yn awr ar y Saint wedi cyrhaedd y Dyffryn? a ydynt wedi eu dinystrio? O, na; eithr dywed y byd eu bod yn bobl dda a pharchus, am eu bod yn llwyddo. Felly yr ymddygant bob amser pan fyddo y Saint yn llwyddo, ond fel arall yn hollol pan fyddont yn cael eu herlid. Cefais barch mawr fy hunan wrth ddyfod tuag yma trwy y Taleithiau—nid oedd eisieu dweyd rhagor na'm bod yn dyfod o'r Dyffryn. Mae y byd yn ein caru yn awr, o herwydd eu bod yn meddwl, efallai, ein bod yn gwybod rhywbeth ynghylch yr aur. Wel, a ydyw y Saint yn dlawd yn awr, ar ol yr holl erlid? Nac ydynt ddim; canys y maent yn cael eu bendithio ar eu canfed. Mae ganddynt ddyffryn rhagorol, yn alluog i godi pob math o lafur, megys yd Indiaidd, gwenith, haidd, ceirch, rhyg, cloron, a phob peth a ellir ei godi yn y wlad hon, a llawer o bethau hefyd nad ellir eu codi. Hefyd, y mae ganddynt Lywodraeth Ddarpariadol, yn cynnwys llywodraethwr, ysgrifenydd y dalaeth, seneddwyr, barnwyr, &c., a chynnrychiolwyr yn y Senedd, yn Washington, yn ceisio cael eu derbyn i'r Undeb, megys talaeth neu

diriogaeth. Os bydd i ni gael ein dymuniad, ac y mae yn lled debyg y cawn, byddwn yn meddu ar diriogaeth dau cymmaint â Lloegr, Iwerddon, a Scotland ynghyd. Os mai talaeth a gawn, bydd i ni gael dewis llywodraethwr, a phob swyddwyr angenrheidiol ereill, ynghyd â gwneyd cyfreithiau, ein hunain; ond os mai tiriogaeth a gawn, Llywydd yr Unol Daleithiau fydd yn dewis y cwbl, os na threfnir fel arall, ac i ni gael llywodraethu ein hunain. Mae pob talaeth i gynnal ei llywodraeth ei hunan; ond Congress sydd i dalu at lywodraeth pob tiriogaeth. Fe gawn un neu y llall, a gobeithiwn y cawn y goreu. Mae yr argraffwasg yn awr yn gweithio o'n plaid, ac yn wir mae llawer o foneddigion yn gwneyd yr un peth.—Gallaf hefyd ychwanegu am y Dyffryn, ei fod yn le da i fagu defaid; a bwriadaf, pan ddychwelaf, gymmeryd bugail Cymreig gyda mi [pan ddywedai y brawd Howells, 'Take me, brother']. Pan aeth y Saint yno gyntaf, yr oedd yr anifeiliaid braidd wedi eu gweithio allan, trwy ddyoddef caledi, a gorfuwyd lladd llawer; ond yn awr mae y gweddill, er yn druain gynt, yn dewion braf. Mae genym ddinas oddeutu dwy filltir o hyd, ac oddeutu un a hanner o led; ac y mae'r heolydd yn 44 o droedfeddi o led, fel na fydd achos i neb sathru eu gilydd wrth basiaw. Mae y tir yno am oddeutu 5s. yr erw; ac y mae yno eisoes amryw o ffermydd da, melinau, &c.; a dwy o ddinasoedd ereill yn cael eu sefydlu. Yr oedd y Saint ar y cyntaf yno yn brin o ddillad gwaith; ond cyn pen amser, daeth lluoedd o wyr yr aur heibio, a gwerthasant eu dillad i'r Saint, o herwydd na allent eu cario yn mhellach. Yr oeddynt yn rhatach yno nag y gellid eu cael yn St. Louis. Yr oedd yno lawer o nwyddau ereill hefyd ganddynt, y rhai a fuont o les mawr i'r Saint, yn lle yr ychydig lwch aur ag oeddynt wedi gasglu. Mewn gair, yr oedd y Saint yn meddu pob peth angenrheidiol—pawb yn cael eu digoni, os nad oedd ambell un yn rhy ddiog. Nid wyf wedi gweled pobl mewn un man yn gystal eu golwg â'r Saint yn y Dinas y Llyn Halen. Yn awr, eu gorchwyl yw myned rhagddynt; a phob un sydd yn ymofyn gardd neu dŷ, rhaid iddynt eu planu a'u codi, ac nid eu dysgwyl yn wyrthiol. Mae pob peth, ynte, yn dda; a chaiff pob un y fraint o osod eu diwydrwydd ar waith. Nid oes neb yn y Dyffryn yn gweithio er mwyn arian; canys os byddant yn gwneyd rhywbeth i mi, neu rywun arall, gwnant ef am ddim, yn hytrach na chym-

meryd eu talu. Nid oes gobaith i neb gael ei gynnorthwyo, os na weithia mewn rhyw ddull neu gilydd. Mae llawer am fyned i'r ddinas, eithr dylent gofio fod llawer o bethau i'w gwneyd yn flaenorol; rhaid dysgu yr A, B, C, yn gyntaf, ac yna dysgu darllen. Bam i yn hir iawn yn dysgu yspelian '*baker*.' Rhaid i ni yn gyntaf gael ein puro fel yr haiarn yn y ffwrneisiau yna; canys y mae rhai fel pe byddai ganddynt rhy fach o grefydd, ac ereill fel pe byddai gormod. Mae yn rhaid cael yr anmhuredd allan. Cofiwn am Job yn cael ei buro; pan yr oedd yn y ffwrnais, yr oedd y drwg yn berwi allan o hono. Nid yw pawb yn adnabod y metel da, pan fyddo yr anmhuredd yn berwi ar ei wyneb; ond os symudir y gwyneb, ceir gweled y metel da yn ei burdeb. Felly, mae yn rhaid i ni gael ein puro fel y metel, ac yn y diwedd dyoddef ergydion trymion morthwyl y gof. Yr wyf fi am wneuthur fel y mae Duw yn ewyllysio, a myned i Seion wedi cael digon o amser yn y ffwrnais i ferwi y drwg allan. Nid wyf fi yn credu mewn gwyneb hir; meddyliwyf nad yw pob peth yn dda lle bo ystum felly. Os yw y galon yn dda, bydd yr hyn a ddaw dros y genau yn dangos hyny. Mae crefydd Iesu Grist yn gwneyd dyniou yn hapus a dedwydd; ac os oes rhywrai o'r Saint yn proffesu gwyneb hir, &c., mae yn rhaid fod rhywbeth ar goll yno. Mae pawb sydd yn dilyn egwyddorion da, yn gallu dweyd eu holl feddwl. Yr un efengyl sydd genyf yn pregethu yn awr, ag a bregethwyd gynt; ac y mae pawb yn frodyr ag sydd yn gwneuthur yn ol yr efengyl. Nid wyf am i neb blygu i mi, ond yr wyf am i bawb wrandaw ar fy nghenadwri. Perchwch eich llywyddion, ac na ddywedwch ddim yn eu herbyn; canys y mae un a edrych ar ol eich gweithredoedd chwi. Mae y swyddogion wedi eu rheoleiddio er gweinyddu cyfiawnder yn mhob cangen a chynnadledd, fel na fydd achos i neb gael cam. Yn awr, yr wyf yn terfynu, gan eich bendithio oll yn enw Iesu Grist. Amen."

Yna, wedi penderfynu dal i fyny awdurdodau yr eglwys, a chanu, terfynwyd trwy weddi gan Dr. L. Richards.

Am dri o'r gloch, agorwyd cyfarfod o flaen y Farchnadfa, o herwydd nad oedd un lle arall yn ddigon helaeth, gan y Llywydd Phillips, trwy ganu a gweddio.

Yna galwyd ar yr Apostol i anerch y gynnulleidfa liosog oedd ynghyd. Dymunodd gael ei esgusodi am wisgo ei het. Y peth

mwyaf ei hwys ganddo ef i ddweyd oedd ynghylch teyrnas Duw. Mae llawer yn awyddus iawn i gael gwirionedd, ond y mae't yn anwybodus ynghylch y ffordd. Y mae gwirionedd yn dragywyddol, a phob egwyddorion cyfiawn ydynt yn wirionedd. Arweiniwyd ef rai blynyddau yn ol i holi paham yr oedd cymmaint o wahanol farnau ynghylch iachawdwriaeth dyn; ac yna ymdrechodd chwilio pa beth oedd yr hyn a draethai Iesu Grist a'i ddyscyblion, a daeth i ddeall mai yr hyn ag oedd yn wirionedd y pryd hyny, ddylai fod yn wirionedd yn awr—fod yn rhaid fod gwirionedd yn dragywyddol fel Duw ei hun. Yr oedd Ioan Fedyddiwr gynt yn pregethu bedydd er maddeuant pechodau; ac yr oedd Crist a'i ddyscyblion yn pregethu yr unrhyw hefyd, gan ychwanegu fod yr arwyddion i ganlyn y credinwyr, &c.: pregethwyd yr un peth hefyd gan Pedr ar ddydd y Pentecost. Ac yn awr, ai tybied fod y gwirioneddau dan sylw, yn wir etto yn yr oes hon? Mae yn ddiau eu bod. Pe buasai rhywun yn gofyn iddo ef, fel y gofynid i Pedr ar ddydd y Pentecost, atebasai fel yntau—"Edifarhewch, a bedyddier chwi, yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau; a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glan," &c. Trwy ufyddhau i'r pethau uchod, y derbynia dynion yr efengyl, ynghyd a'i holl ddoniau a'i bendithion. Yna prysurodd i ddangos pa beth yw yr efengyl, a'i bod yn bodoli cyn llunio nefoedd na daear. Nid priodol oedd i Ioan dystio iddo weled angel yn ehedeg â'r "efengyl *dragywyddol*," os nad oedd yn bodoli cyn ymddangosiad Crist. Ac os mai tywyllwch oedd yn nyddiau Moses a'r prophwydi, pan oedd y fath wybodaethau yn cael eu rhoddi, gweddiai ef ar Dduw am roddi y tywyllwch hwnw iddo ef, yn lle y goleuni a fedda crefyddwyr lliosog yr oes hon. Yna dangosodd yr hyn a wnaeth Enoc, Noah, Abraham, Moses, &c., a phrofodd eu bod oll yn feddiannol ar yr efengyl dragywyddol. Yn amser Moses, cafodd y ddeddf ei hychwanegu at yr efengyl, o achos troseddiadau. Ystyriai ef y ddeddf yn fwy o felldith nag o fendith; "yr hon (meddai Paul) nid allai ein tadau ni na ninnau ei dwyn." Wedi hyny daeth Iesu Grist i ryddhau ei bobl oddiwrth y gyfraith, ac i bregethu yr efengyl dragywyddol yn ei symlrwydd cyntaf, a dadguddiodd i'w ddyscyblion ei ewyllys yn ychwanegol. Trwy yr efengyl hon yr oedd gweision Duw, o ffydd i ffydd, yn cyrhaedd pethau mawrion—mor fawr â chael gwybdaith i'r drydedd nef. Yr oedd yn anghen-

rheidiol fod pob gweinyddwr o ordinhadau yr efengyl, yn cael eu neillduo i hyny. Ordeiniodd Crist ddeuddeg o apostolion, trwy ddadguddiad, i weinyddu yn mhob peth perthynol i'r efengyl; a rhoddodd allu iddynt i rwymo ar y ddaear yr hyn a rwymid yn y nefoedd. Cawsent allu hefyd i faddeu pechodau, trwy fedyddio dynion er maddeuant pechodau; a thrwy weinyddu yn enw Iesu Grist, yr oedd Duw yn rhwymo yn y nefoedd yr hyn a rwymid ar y ddaear. Nid all neb gael ei alw heb ddadguddiad; ac os nad oes dadguddiad newydd wedi ei roddi, heblaw yr ysgrythyrau, yna nid all y pregethwyr hyny sydd yn gwadu dadguddiad, byth fod wedi eu galw gan Dduw, os na allant ddangos eu henwau yn yr ysgrythyrau. Yna dangosodd lawer iawn ynghylch offeiriadaeth Melchisedec, a'i hawl i weinyddu mewn amser ac mewn tragywyddoldeb. Cyfeiriodd wedi hyny at Joseph Smith, a thystiolaethodd iddo fod gydag ef yn ei fywyd ac yn ei farwolaeth, ac y gwyddai mai dyn da, ac mai gwas i Dduw oedd. Nid oedd efe (Taylor) wedi dyfod yn ei enw ei hun, ond yn enw Iesu Grist; ac nid oedd yn bostio mewn un ddysgeidiaeth na doethineb, ond yn yr hyn ag oedd wedi dderbyn gan Dduw. Dangosodd y ddyledswydd arbenig o drugarhau wrth bawb, a gwneuthur daioni. Yna gadawodd ei fendith ar bawb, a therfynodd.

Yna cyfododd Dr. Levi Richards i gadarnhau tystiolaeth y brawd Taylor ynghylch Joseph Smith, a dywedodd mai efe (sef Taylor) oedd y dyn a dderbyniodd bedair o fwledi yn ei gorff, pan labyddiwyd y prophwyd a'i frawd.

Wedi canu "Henffych i'r prophwyd," terfynwyd trwy weddi gan y brawd Howells.

Am hanner awr wedi chwech etto, yn yr un man, agorwyd y cyfarfod trwy ganu, a thrwy weddio gan y brawd Giles.

Cyfododd Dr. Levi Richards i ddesgrifio pa beth yw gwirionedd, a'r anghenrheidrwydd o'i feddu; a dilynwyd ef gan y brawd Howells, yn Gymraeg, ynghylch presennoldeb yr Apostol, er boddlonrwydd cyffredinol.

Yna cyfododd y brawd Taylor, a llefarodd ynghylch pa ffordd yr argyhoeddwyd ef gan P. P. Pratt; a'r ddyledswydd sydd ar ddynion i fod yn barod i fyw, ac nid i farw. Beth yw marwolaeth i ni, tra y byddom yn feddiannol ar y trysor sydd yn bwrw ymaith ofn? Nid yw ond megys hun am ennyd. Wedi hyny llefarodd am gyn-fodoldeb ysbrydion, gan ddwyn Iesu Grist yn

enghraifft, yr hwn oedd gyda y Tad cyn canu o sêr y boreu; yn nghyda llawer o bethau ereill. Soniodd hefyd am y trioedd sydd yn tystiolaethu yn y nefoedd ac ar y ddaear, ac yn fuan terfynodd, wedi gwneyd diwrnod da o waith, ag y bydd son am dano am amser hir.

Diweddwyd gan y brawd Richards drwy weddi.

Boreu dydd Llun, am hanner awr wedi deg, agorwyd cyfarfod arall, trwy ganu a gweddio, gan Howell Williams, yn Neuadd y Cymreigyddion.

Wedi i'r brawd Howells adrodd ychydig, yn Gymraeg, o'r hyn a bregethodd yr Apostol y dydd o'r blaen, a dangos fod un o bregethau John Elias yn prophwydo mai yn America yn unig y buasai gwaredigaeth mewn amser i ddod,

Cyfododd y brawd Richards i sylwi ar sefyllfa yr eglwys yn Nghymru, a thrwy y byd; a dywedodd y dylai'r Saint daflu heibio bob peth sydd yn peri anghydfod ynghylch iaith, gwlad, &c., ac ystyried pawb fel eu gilydd.

Yna cyfododd y brawd Taylor, a dywedodd y gwyddai mai dynion da oedd y swyddogion oedd yn bresennol, a'u bod yn dysgu egwyddorion cywir; ac mai "good-hearted fellows" oedd y Saint Cymreig. Yr oedd efe yn ddinasydd o'r byd, ac yn caru pob cenedl; ac os oedd rhyw genedl am fod yn fwy na'r llall, profed hyny trwy ei gweithredoedd da—dyna yr unig wahaniaeth ddylai fod, a dim arall. Ac os oedd rhywun am ddyfod yn fawr, ystyried ei hun yn faban; neu os oedd am ddyfod yn gyfoethog, rhodded i'r tlawd, a derbynia y can cymmaint. Dangosodd yr anghenrheidrwydd o chwilio am wybodaeth mewn llyfrau, a thrwy weddi a ffydd; a'r anghenrheidrwydd o ddosparthu llyfrau Cymreig a Seisnig. Yna dywedodd mai yr offeiriadaeth yw y llywodraeth sydd ar y ddaear ac yn y nefoedd; ac hysbysodd y gellai efe lywodraethu y deyrnas hon yn fwy effeithiol nag y gwneir, ac efo llai o draul, pe buasai y bobl yn gwrandaw arno. Yna soniodd am y Drysorfa Ymfudol, a'r anghenrheidrwydd o ymdrechu o'i phlaid, a therfynodd, wedi rhoi mwy o lawenydd yr efengyl i'r Saint, nag a gawsant erioed o'r blaen.

Yna y Llywydd Phillips a ddangosodd, yn dra effeithiol, ddyledswydd y Saint i ddarllen a lledaenu llyfrau Cymreig a Seisnig, ac ymdrechu achub pob cenedl fel eu gilydd; ac annogodd y swyddogion i ymdrechu myned allan i bregethu.

Wedi hyny, canodd yr Apostol ei gân am "Upper California," yn dra rhagorol; ac eglurodd nad oeddym i feddwl y buasai yr holl genedloedd yn myned i Jerusalem bob blwyddyn i addoli; oblegid ni fuasai digon o le i drigolion yr ynys hon yno, chwaithach trigolion yr holl ddaear. Y meddwl yw, y bydd cynnrychiolwyr pob cenedl yn myned yno yn flynyddol, yn enw y bobl.

Yna, wedi i'r Llywydd ddangos dyledswydd y Saint tuag at y cenadiaethau i Ffraine, yr Eidal, &c.; canodd y brawd Taylor ei gân hyfrydol "The Seer," nes cyflawni mesur ein llawenydd am amser; yna, trwy weddi, cyflwynodd ni oll i Dduw, a therfynodd y gymmanfa am oddeutu dau.

Cofir yn hir am y gymmanfa hon, ac am gwmpeini ein hanwyl frawd. Nos Lun, pregethodd yn Nghaerdyf i gynnulleidfa liosog, ac ymadawodd dranoeth i Bristau, er cychwyn tua Ffrainc yn nghwmpeini y brawd Howells ac ereill.

---

## YR YMFUDWYR CYMREIG DIWEDDAF.

DARFU i'r llong "Josiah Bradlee," yr hon a hwyliodd o Liverpool ar y 5med o Chwefror, gyrhaedd New Orleans ar y 18fed o Ebrill, ar ol mordaith dra chysurus. Mae yr Henuriad Thomas Day, llywydd y cwmpeini, wedi danfon llythyr i'r *Star*, yn yr hwn y dywed fod pawb yn iach ac wrth eu bodd, yn Gymry ac yn Saeson. O'r Cymry bu farw un, sef merch Hannah Hughes, Llanelli, yn 10 mis oed; a phriododd pedwar, sef Lewis John Davies, o Forganwg, â Sarah Roger, o sir Benfro, ar y 24ain o Chwefror; a John Carver â Mary Eames, o sir Henffordd, ar y 10fed o Fawrth. Hysbysa eu bod yn parotoi i fyned i'r lân ar hyd yr afon, dan gyfarwyddyd y brawd M'Kensie; a gobeithia y bydd Duw yn eu bendithio y gweddill o'r daith, fel ag y gwnaeth hyd yno. Mae yn ddiau fod ein brawd anwyl Abel Evans wedi ysgrifenu hefyd, nad pa le y mae ei lythyr. Gwelsom ei law-ysgrifen mewn llythyr i Bontypridd, yr hyn sydd yn arwyddo fod pob peth yn dda, ond y colled o'i lythyr.

---

## GOFYNIADAU AC ATEBION.

1. A YDYW yn unol ag egwyddorion y Saint i ddefnyddio offerynau cerdd mewn addoliad?—*Tomos.*

Ydyw yn eithaf unol; ac y mae Duw y Saint yn eithaf cyfarwydd â hwynt. Mae offerynau cerdd yn gynnorthwyon mawrion i ganu mawl. Pan fyddo yr offerynau yn gofalu am dôn ac amseryddiad, gall y cantorion feddwl mwy am gynnwysiad y gân, ynghyd ag am ei gwrthddrych; eithr, tra yn amddifad o offerynau, gofalant fwy am y lleisiau a'r amser, nag am y mawl, yr hyn a ddylai fod yn benaf yn ngolwg pawb. Yr offerynau oedd yn blaenori gyda Dafydd frenin, a'r mawl yn eu dilyn.

2. Beth yw eich meddwl chwi am yr eglurhad a rydd "Golygydd" Mehefin ar Act. xix, 3? Mae yr eglurhad fel y canlyn:—"'I ba beth gan hyny eich bedyddiwyd? I y Bedydd Ioan,' sef *I* y sylwedd o fedydd Ioan. Hyny oedd I y *Diwygiad*, neu *I r hwn oedd yn Dyfod.* Bedydd y Pentecost oedd i Y Diwygiad a Maddeuant Pechodau. Bedyddid i hwn heb un gwahaniaeth pa un ai eu bod wedi eu bedyddio i Fedydd y Diwygiad yn unig, ai peidio. Yr enw neu oruchwyliaeth ol-bentecostawl ar Grist, oedd *yr Arglwydd Iesu.* Ni elwid *yr Hwn sy'n dyfod* arno fel y cyfryw. 'Ni chlywsom ni Pa un a yw yr Ysbryd Glân, ai peidio,' oedd ystyr eu hatebiad; sef Pa un a yw efe yn cael ei *dderbyn.* Clywsent gan Ioan y ceid ef ryw bryd."—Bydd eich sylwadau ar yr eglurhad uchod yn dderbyniol.—*Morgan Edwards.*

Ein meddwl ni yw fod ynddo lawer o bethau anhawdd eu deall. Mae "I y bedydd Ioan," ac "I y sylwedd o fedydd Ioan," yn eiriau dyrys iawn. Gwyddom pa beth yw "I fedydd Ioan;" atebiad yw fod y deuddeg hyny wedi eu bedyddio â'r un fath fedydd ag a weinyddai Ioan Fedyddiwr. Ond pa beth yw "y sylwedd o fedydd Ioan," sydd tu hwnt i'n dealltwriaeth. Mae yn eglur fod pob un a fedyddiai Ioan yn derbyn cyflawn fedydd, a'r sylwedd hefyd, os oedd y fath beth yn bod; canys wedi darfod bedyddio â dwfr, hysbysai Ioan fod un yn dyfod ar ei ol ef, yr hwn a fedyddiai â'r Ysbryd Glan ac â thân. Yn awr, os oedd sylwedd i'r bedydd cyntaf, heblaw dwfr, yr oedd sylwedd hefyd i'r ail fedydd, heblaw yr Ysbryd. Diwygio a gwneyd "pobl barod" oedd Ioan, mae yn wir, pan yn eu bedyddio er maddeuant pechodau; ac nid oes un prawf wedi ei roddi fod neb yn bedyddio ar ol Ioan, a bod ei fedydd ef yn ddiwerth. Yr oedd bedyddiad Iesu Grist, ynghyd â rhai o'i ddyscyblion, yn esiampl i bawb i'w dilyn. Ni fuasai neb a fedyddiodd Ioan yn dweyd, "Ni chawsom ni gymmaint â chlywed a oes Ysbryd Glan;" canys

yr oedd efe yn hysbysu pawb yn ei gylch. Paham nad allai y deuddeg yn Ephesus, os oeddynt wedi eu bedyddio yn gyfreithlawn, dderbyn yr Ysbryd yr un fath â'r rhai hyny ar ddydd y Pentecost? Mae yn rhaid mai gan rywun na wyddai ddim am yr Ysbryd Glan y cawsent eu bedyddio; canys Ioan yn ddiau a dystiolaethai wrth bawb am yr Hwn oedd yn dyfod i fedyddio â'r Ysbryd Glan. Wrth reswm, gorfu ar Paul eu bedyddio yr ail waith, cyn y gallent dderbyn yr addewid; ac felly y rhaid gwneuthur hefyd â'r rhai sydd wedi eu bedyddio yn anghyfreithlawn yn yr oes hon, cyn y derbyniant y "ddawn" addawedig.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR BENFRO.

Cynnaliwyd cymmanfa y sir hon, yn Hwlffordd, ar y 19eg o Fai. Cynnrychiolwyd 11 o gangenau, yn cynnwys 15 o henuriaid, 9 o offeiriaid, 6 o athrawon, a 4 diacon; torwyd allan, 8; ymfudodd, 13; cyfanswm, 179. Galwyd tri o henuriaid, pedwar o offeiriaid, a dau o athrawon, o herwydd fod amryw wedi symud. Penderfynwyd dal i fyny holl awdurdodau yr eglwys.—J. Morris, llywydd; Daniel Williams, ysgrifenydd.

### SIR FFLINT.

Cynnaliwyd cymmanfa y sir uchod yn nhref Fflint, ar y 12fed o Fai, pan y cynnrychiolwyd pump cangen, yn cynnwys 12 o henuriaid, 9 o offeiriaid, a 4 o athrawon; 5 wedi eu tori allan, 2 wedi eu derbyn trwy lythyr, 1 wedi ei ollwng, 5 wedi eu bedyddio; cyfanswm, 83. Galwyd tri i swyddi, a chafwyd cyfarfodydd rhagorol o dda, yn mha rai y pregethodd amryw o'r brodyr yn effeithiol iawn.—John Davies, llywydd; Thomas Green, ysgrifenydd.

### SIR FEIRIONYDD.

Cynnaliwyd cymmanfa sir Feirionydd, yn Machynlleth, ar yr 20fed o Fai, pryd y cymmeradwywyd y brawd William Evans i fod yn llywydd. Cynnrychiolwyd pump o gangenau, yn cynnwys 12 o henuriaid, 7 o offeiriaid, 1 athraw, ac 1 diacon; 5 wedi eu tori allan, a 4 wedi eu bedyddio; cyfanswm, 75. Pregethodd yr Henuriad Thomas Pugh ynghylch adeiladaeth teyrnas Dduw, yn effeithiol iawn.—William Evans, llywydd; David Roberts, ysgrifenydd.

## AMRYWIAETHAU.

MEHEFIN.—Yn y rhanau canol o'n hynys, mae Mehefin yn gyffredin yn fis oer-sych hafaidd. Mae y dyddiau, er hyny, yn eu hyd mwyaf; ac er nad yw y mis hwn ond y trydydd mewn uchder tymheredd, etto y mae ei sychder a'i darthiad yn cyrhaedd y pwynt pellaf. Mae Mehefin yma yn tebygoli i Fai mewn hinsoddau mwy dwyreiniol. Gan fod y dail yn awr yn wyrdd-leision a chyflawn agored, a'r maesydd llafur a gwair yn eu dillad hyfrytaf, dyma yr amser y mae gwyneb natur yn ymddangos brydferthaf. Tua diwedd y mis, cawn weled gwenith yn tywyseni, y rhosyn yn blodeuo, y sifi yn addfedu, a'r cynauaf gwair yn dechreu. Cyfartaledd cyffredin y gwres-fesurydd yw 57 o raddau. Yn ystod y mis y mae llawer o'r prysgeni a'r llwyni yn blodeuo, fel y mae'r gerddi yn arferol o fod mewn gogoniant mawr. Dyma yr amser hefyd y mae'r chwŷn yn gofidio mwyaf ar y garddwr.

HALEN.—Mae yr halen a geir yn y Llyn Halen Fawr yn Nghalifornia, yn well nag un a wyddis am dano, at halltu ymenyn, cig, &c. Dyma yr halen cryfaf a gafwyd allan hyd yn hyn. Y mae tair barilaid o ddwfr yn gwneyd un o halen.

GWEDDIAU HIRION.—Pe buasai Pedr, pan yr ymdrechai gerdded ar y dyfroedd er myned at ei Feistr, a phan yr oedd ynghylch soddi, yn gweddio mor hirfaith â llawer yn y dyddiau hyn, buasai yn y gwaelod braidd cyn myned trwy y rhagymadrodd.

MEDDYGON.—Dywedai rhywun mai meddygon yw yr efelau cnau sydd gan yr angylion i dynu ein heneidiau allan o'r plisgyn sydd am danynt.

UN O'R CREDINWYR.—Pan ddywedai rhywun wrth yr Apostol J. Taylor mai gau-brophwyd a thwyllwr oedd, atebai yntau, "Yr ydych chwi, ynte, yn un o'r credinwyr?" "Ydwyf! yn ddiau," meddai y dyn. "Wel, gyda chwi, yn ol geiriau Iesu Grist, y mae yr arwyddion i ganlyn, onide?" Aeth yn fud yn y man.

RHINWEDD YR ENW MORMON.—Adroddai yr Apostol Taylor yma hanesyn lled ddigrif am yr enw uchod. Ymddengys fod rhai o'r llwythau Indiaidd yn bur gyfeillgar â'r Mormoniaid,

oblegid eu bod wedi ymddwyn yn garedig tuag atynt. Yn ddiweddar, pan oedd un o'r aur-gloddwyr yn pasio trwyddynt â'i wagen, cyfarfu â nifer fawr o honynt, a meddyliai fod y cyfan wedi darfod arno, am fod gelyniaeth rhyngddynt hwy â phawb ond y Mormoniaid. Ond, beth bynag, daeth un o'r Indiaid yn mlaen ato gan ddweyd "Mormon" Yna daeth i feddwl y dyeithryn i ddweyd "Mormon" yn ateb, gan dybied fod yr Indiaid yn arbed pawb o'r enw hwnw. Y canlyniad fu, iddo dderbyn parch a chynnorthwy mawr oddiwrthynt; a phenderfynodd y dyn, gan fod yr enw mor rhinweddol, i ddyfod yn Formon ei hunan, mor fuan ag y gallai gyrhaedd y Dyffryn.

Y Ffordd i ddinystrio Plentyn.—1. Gadewch iddo gael ei ffordd ei hun. 2. Caniatewch iddo wario ei wala o arian. 3. Gadewch iddo fyned lle y myno ar y Sabboth. 4. Rhowch ryddid iddo fyned i gwmnïaeth ddrwg. 5. Na fynwch gyfrif ganddo pa fodd y treulia ei brydnawnau. 6. Na roddwch ddim iddo i'w wneuthur.

Arwydd Dyn Da.—Nid yw y dyn nad oes iddo elynion braidd yn dda at ddim. Mae wedi ei wneyd o ddefnydd mor rhwydd i'w weithio, nes y mae pawb yn treio eu llaw arno. Mae y dyn trwyadl, yr hwn sydd yn meddwl drosto ei hun, ac yn llefaru yr hyn mae yn feddwl, yn sicr o gael gelynion. Maent mor angenrheidiol iddo ag awyr iach.

Cariad.—Pan yn dair blwydd oed yr ydym yn caru ein mamau; pan yn chwech, ein tadau; pan yn ddeg, gwyliau; pan yn un-ar-bymtheg, ein gwisgoedd; pan yn ugain, ein cariadon; pan yn bump ar hugain, ein gwragedd; pan yn ddeugain, ein plant; a phan yn drugain, ein hunain.

Y Goludog.—Dywedwyd am un dyn goludog—"Druan ag ef! trafferthodd ddydd a nos hyd ddeugain mlwydd oed, i gasglu ei gyfoeth; a byth oddiar hyny y mae wedi bod yn ei wylio am ei fwyd a'i ddillad.

### DEFAID CRIST.

Defaid Crist ei lais adwaenant,
A'i "arwyddion" a arddelant;
Bloeddia'r byd mai 'rhain yw'r bleiddiaid,
Am na wyddant ddim am ddefaid.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 19.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI, (SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. II.] GORPHENAF, 1850. [PRIS 2½g.

## CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1850.

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

"Y Saint Ieuanc."—Derbyniasom ei bennillion, a dywedwn ei fod wedi amcanu yn lled dda, pan ystyriom mai dyna y cynnyg cyntaf iddo. Os ymdrecha ein hanwyl frawd i ymarferyd ei ddawn, daw yn fuan yn addas i ymddangos o flaen y cyhoedd.

"D. J."—Wedi cymmeryd pob peth dan sylw, meddyliwn mai gwell yw i ni beidio dweyd dim am y Feirniadaeth. Yr oedd diffyg yn ngeirynddiad y testun.

"D. D."—Ni allwn dderbyn llyfrau yn ol, canys nid yw yn bosibl i ni i'w cael yn ol yn yr un sefyllfa ag y danfonwyd hwynt allan. Na orchymyned neb fwy nag y mae ganddo ffydd i'w gwerthu, a thalu am danynt. Yr un reol sydd i'r llyfrau Seisnig hefyd.

YMFUDWYR.—Yr ydym dan yr anghenrheidrwydd etto o rybyddio pawb, pan yn danfon eu rhagdaloedd, i roddi gwybod pa bryd, ac yn mha le, y ganwyd hwynt, ynghyd â'u galwedigaeth.

LLYTHYRON.—O hyn allan, cofied ein holl ohebwyr a phawb, y bydd pob llythyr yn costi dwy geiniog i'r derbyniwr, os na fydd stamp wedi ei roddi arno. Ni wneir un sylw o'r ceiniogau a roddir, am fod y gyfraith wedi newid. Bydded hysbys hefyd nad oes llythyrau i gael eu dosparthu ar y Sabboth, yr hyn sydd yn gyfnewidiad er gwaeth. Pa mor grefyddol yr eir yn y diwedd, ni wyddom etto; ond ni synem ni, os bydd rhai crefyddwyr, cyn pen ychydig, wedi myned mor santaidd ag i beidio golchi eu gwynebau ar y Sabboth!

LLYTHYRON ABEL EVANS.—Mae llythyr y brawd Evans o New Orleans wedi ein cyrhaedd o'r diwedd, pan ag y mae llythyron ereill o'r cwmni wedi cael amser i ddyfod o'r Bluffs yma yr un dydd. Gan ei fod mor hen, ystyriwn mai ffolineb fyddai ei gyhoedi. Mae llythyron diweddarach oddiwrtho ef ac ereill yn hysbysu fod y Saint wedi cyrhaedd y Bluffs, a bod A. Evans wedi priodi â merch o gangen y Wern, gerllaw Caerfyrddin. Priodas dda iddo, ynte, a llawer o lwyddiant.

☞ The Gellivaelog Branch opened a new room, adjoining the Mason's Arms, Pendarren, on Sunday, June 23, when several elders preached on the occasion.

☞ Pan wedi dechreu argraffu, derbyniasom y Trydydd Epistol Cyffredinol o'r Dyffryn, a chaiff ymddangos yn ein nesaf.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 19.] GORPHENAF, 1850 [CYF. II.

## SALM.

DEUWCH chwi sydd yn caru yr Arglwydd, a ni a lefarwn am fawr garedigrwydd ein Duw, oblegid ei drugaredd sydd yn dragywydd.

Mae ei ddaioni yn cyrhaedd o genedlaeth i genedlaeth, ac y mae holl blant dynion yn cael eu llesoli.

Pa deyrnged a dalwn i'r Jehofa, yr hwn sydd yn teyrnasu yn y nefoedd, am ei fendithion lliosog a'i ofal mawr am waith ei ddwylaw ?

O herwydd y sawl a weithredant gyfiawnder ac a ofnant Dduw, sydd yn gymmeradwy ganddo ef: nid ydynt amddifad o un rodd dda.

Y mae yn rhoddi gorchymyn i'w angylion i'w dal i fyny yn eu cystuddiau, i'w hachub hwy o'u gofidiau, a'u gwaredu o law a gallu y cadarn arfog.

Megys y mae'r aur yn dyfod o'r tân wedi ei buro o bob sorod, felly y mae ei Saint ef yn dod i fyny o'r oddaith, yn bur ac yn santaidd o'i flaen ef.

Mwy na choncwerwyr ydynt trwy yr Hwn a'u carodd, ac a roddes ei hun drostynt, ac a'u prynodd â'u waed gwerthfawr ei hun.

Iddo Ef y byddo'r anrhydedd a'r gogoniant yn dragywydd.

Y mae geiriau yr Arglwydd yn gwneyd daioni i'r uniawn bob amser, gan oleuo y meddwl a llanw y dealltwriaeth â goleuni a gwybodaeth.

Llais newyddion da, llais dyddanwch a chysur i'r tlawd a'r anghenus.

Yr hwn sydd yn dwyn llawenydd i'r fynwes, ac yn achosi i'r galon ddrylliog i orfoleddu;

Yr hwn sydd yn dryllio llyffetheiriau y carcharor, ac yn torr cadwyni y rhwym;

Yr hwn sydd yn dadlwytho baich trwm y gorthrymedig, ac yn gosod y caeth yn rhydd.

Llais gogoniant ac anfarwoldeb i'r holl fobloedd, am ufydd-dod i iachawdwriaeth, am ad-daliad ac adferiad, am ddyrchafiad a pherffeithrwydd.

O, rhoddwch ddiolch, chwi gyfiawnion, am gymmwynas rad ei air tuag atom ni; goleuni sydd yn llewyrchu mewn tywyllwch dudew, ag sydd yn cyfeirio at y gyfraith ac at y dystiolaeth.

O herwydd y mae gwirionedd wedi tarddu o'r ddaear; ac y mae angel santaidd wedi edrych i waered o'r nefoedd.

Y mae wedi adferu cyflawnder yr efengyl; gwnaeth yn hysbys y drefn gyntefig; ac adnewyddodd yr hen lwybrau;

Y mae wedi adferu yr efengyl dragywyddol; y mae wedi dadguddio pren Ephraim; y mae wedi dwyn yn ol etto archoffeiriadaeth Melchisedec.

Y mae etto wedi danfon y Dyddanydd sydd yn arwain i bob gwirionedd, a'r hwn sydd yn dangos pethau i ddyfod.

Mae y gostyngedig yn gorfoleddu yn ngeiriau y *llyfr*. Mae y byddar yn clywed, y mud yn llefaru, y dall yn gweled, a thafod y cecianwr yn cael ei ryddhau.

Mae y dyn cloff yn neidio fel yr hydd; a'r ysbryd cystuddiedig sydd yn llawn o lawenydd.

Mae y gwaredigion yn dychwelyd i Seion gyda chaniadau uchel, a llawenydd tragywyddol ar eu penau.

Tristwch ac ochain a giliant ymaith; y chwerw sydd yn felys; y cystuddiedig a ymorfoleddant mewn iachawdwriaeth ac a gynnelir.

Yr Arglwydd a anfonodd sofl-ieir o'r nefoedd; yn ochr y dyfroedd y cleifion ar eu gwelyau a estynasant allan eu dwylaw, a hwy a ddiwallwyd.

Y Cenedloedd ar yr afonydd a'u gwelsant, ac a synasant; gwelsant waredigaeth ein Duw, a rhyfeddasant yn ddirfawr.

Dywedaf am ddaioni Duw yn nghynnulleidfaoedd ei Saint; llefaraf am dano yn yr ymgasgliad mawr.

Llawenyched yr holl Saint, gorfoledded y ddaear, a bloeddied pob creadur foliant i'r brenin Immanuel.

Dylifed y mynyddoedd a'r bryniau i waered yn ei wyddfod, ac wyled y creigiau cedyrn o lawenydd.

Blodeued y diffeithwch fel y rhosyn, a gorfoledded yr anialwch.

Murmured yr afonydd a'r holl ddyfroedd anthemau soniarus i'w Brenin tragywyddol.

Sisialed pob llysieuyn a phren lais heddwch a chariad; a dychweled y greadigaeth anifeilaidd ddiolchgarwch i'r hwn sydd yn eistedd ar yr orsedd.

Bydded i eangder mawr y greadigaeth ddadseinio gyda Haleliwia i'r YDWYF mawr.

Gogoniant, a gallu, ac anrhydedd, a llywodraeth, ac awdurdod, a nerth, a moliant tragywyddol i'r hwn sydd â'i enw uwchlaw pawb arall.

Molianned pob peth yr Arglwydd. Molwch yr Arglwydd.

HARVEY L. BIRCH.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH ABEL EVANS, O'R COUNCIL BLUFFS, IOWA.

*Council Bluffs, Mai* 25, 1850.

ANWYL FRAWD DAVIS,—Yr wyf yn cymmeryd y cyfleusdra hwn i roddi ein hanes ar yr afonydd hyd yma. Gorfu i ni aros yn New Orleans am wythnos. Yna cychwynasom i'n taith dros afon Mississippi, a chyrhaeddasom St. Louis mewn wyth diwrnod. Gorfu i ni aros yno bum diwrnod. Yna aethom ar ein taith hyd yma, a buom ar yr afon hon ddeuddeg diwrnod. Daethom yn eithaf llwyddiannus dros y ddwy afon, heb golli ond pump bywyd,—un ar y cyntaf, a phedwar ar yr ail. Bu y cholera yn ein plith ar y ddwy afon, a'r cholera a laddodd dri o'r pump. Yr oedd hefyd yn New Orleans a St. Louis. Mae 30 o'r Saint yn aros i weithio yn St. Louis; sef Thomas Morris, John Morgans o Nantyglo, Morgan Jones, John Hayes, Henry Pelew, Lewis Davies, William Vaughan, ynghyd â'u teuluoedd, oll yn fyw ac iach. Daeth i'r lân yma 57 o honom, a chawsom dderbyniad

groesawus, yn mhell tu hwnt i'n dysgwyliadau. Daeth y Saint Cymreig i'n gweled y nos y daethom i'r lle; a boreu dranoeth, daethant â'u wageni a'u hychain atom, i'n cludo oll i'w tai am ddim, a'n llefydd i ni yn rhad. Cofiwch fod yma lawn gymmaint o dderbyniad i'r weddw a'r amddifad, ag i neb, os nid mwy. Mae yr oll yn aros yma a'r a ddaeth gyda mi, ond David Evans a'i wraig, y rhai sydd yn myned rhag eu blaen. Mae tair priodas wedi cymmeryd lle er pan ddaethom yma; ac yn eu plith y mae un Rogers o sir Benfro wedi priodi ag Ann Evans o Ferthyr. Mae pawb oedd a modd ganddynt wedi cymmeryd tai a thiroedd, a daw y lleill yn alluog i wneyd yr un peth ar fyr. Gwell i'r ieuenctyd sydd yna beidio cyfammodi i aros i'w gilydd pan yn dyfod yma, am eu bod yn gwneyd drwg wrth hyny. Gwell iddynt briodi cyn neu wrth gychwyn. Mae hyn o bwys, fel pob peth arall. Daeth Ann Howells o Ferthyr dros yr afonydd hyd yma, heb fawr gwahaniaeth ynddi; ond drwy ffydd y daeth hyd yma; a phrofodd yr oll ag oedd yn prophwydo am ei marwolaeth ar y môr, i gyd yn au-brophwydi! Carem yn fawr i weled llawer etto yn ein dilyn, ond gwell fydd iddynt ddyfod i'r lle hwn erbyn yr haf na'r gauaf, am nas gallant weithio yma ond yr haf, ond gallant ddyfod i St. Louis erbyn y gauaf. Bydd yn well i bawb a ddelo yma gofio cadw pob cynghor a gânt ar eu taith; a'r sawl a wnel hyny, deuant yma yn fyw ac yn iach, pan o'r ochr arall y sawl a ddiystyro gynghor a syrthiant yn ysglyfaeth.

Fy nghofion atoch chwi a'r brawd Phillips, a'i deulu oll, at fy nhad, a'm perthynasau anwyl, a'r holl Saint drwy Gymru.

Eich brawd yn y cyfammod newydd,

ABEL EVANS.

O.Y.—Enwau y rhai a fu farw sydd fel y canlyn:—William Prothero, henaf, a'i wraig, o fethiant; Edward Vincent a gwraig Charles Vincent; Elizabeth Rogers o sir Benfro; gwraig a phlentyn John Jones o Bontytypridd, o'r cholera, yn yr hospital, yn St. Louis.

———

## LLYTHYR ODDIWRTH WILLIAM MORGANS.

*Council Bluffs, Mai* 26, 1850.

ANWYL FRAWD PHILLIPS,—Daeth y brawd Abel Evans a'i gwmpeini o Saint yma ar y 23ain o'r mis hwn; ac ar ei dystiolaeth

ef, a'ch trwyddedi chwithau, derbyniwyd hwynt yn aelodau rheolaidd o'r gangen Gymreig, yn y Cambria's Camp.

Anwyl frawd, y mae rhai pethau yn cymmeryd lle yn mhlith ieuenctyd, yr hyn sydd yn naturiol hefyd yn ol arfer yr hen wlad, ag y byddai yn dda iddynt eu troi heibio. Un peth yw ymgyfammodi i briodi. Fy marn i yw, mai gwell peidio, ac mai doethach fyddai priodi cyn cychwyn, i'r sawl fyddo yn ewyllysio hyny. Yr oedd y brawd Abel Evans, a minnau hefyd, wedi methu gweled hyny yn gynt; ond yr oedd efe wedi agor ei lygaid cyn dyfod i'r Bluffs, a phriododd â merch landeg o gerllaw Caerfyrddin, sef Mary Jones, o gangen y Wern. Yn gyffredin, y mae teuluoedd yn byw yn well yma na dynion gweddw; ac felly, ynte, y sawl a ewyllysio briodi, priodent, a'r sawl fyddo am beidio, peidient; eithr gadawed pob mab a merch, a phob dyn a menyw weddw, yr hen wlad, heb ymgyfammodi i briodi. Felly, ni fydd perygl o dori cyfammod; a byddant yn dyfod yn rhydd i wlad rydd, ac yn gadael y rhai a fyddo ar ol yn rhydd hefyd. Dyna oedd meddwl y brawd Jones hefyd, feddyliwn, sef cyfammodi hyd yr ymfudiad. Yr wyf wedi priodi wyth ar y tir hwn, ac yn dysgwyl chwech neu wyth yn fuan etto.

Mae ein tref yma fel crochan berwedig, yn y dyddiau hyn, ac mor llawn â marchnad Merthyr ar ddydd Sadwrn, fel nas gellir gyru wagon heb stopio ar hyd yr heolydd. Pobl yr aur ydynt, ac y maent yn gadael peth o'u haur ar ol, neu bernwch chwi; canys y mae y càn yn chwech dolar y cant, yr yd Indiaidd yn ddolar a hanner y bwshel, a pheth wedi ei werthu am dri dolar. Dywedwyd wrthyf gan un Mr. Bennett, meddyg un cwmpeini, fod 4,000 o erwau o wenith yn Illinois, heb neb i'w dori, ac yn debyg o fod yn sathrfa i anifeiliaid. Y Mormoniaid a bregethodd yr efengyl—ie, y prophwyd Joseph fu yn ei chyhoeddi gyntaf yno, ond ni chredent ei dystiolaeth, eithr gwaeddasant, "Ymaith ag ef," fel ei Feistr. Mormoniaid a gafodd yr aur allan yn California, a rhyfedd mor wirioneddol yw y dystiolaeth, ac mor dderbyniol y mae gan y werinos yn gyffredin; ond nid yw ronyn yn fwy gwir na thystiolaeth y Mormoniaid yn Merthyr o barthed i'r efengyl; eithr y mae ysbryd y byd yn rhedeg ar ol ei degan, sef gwreiddyn pob drwg, ac o ganlyniad nis gall dderbyn Ysbryd Crist, yr hwn yw gwirionedd a chariad, gogoniant i Dduw yn y nefoedd, ac ar y ddaear ewyllys da. Wel, rhyngddynt hwy a'r

aur y bo hi; eled yn farsiandwyr y sawl a fyno. Adeiladwn ninnau Seion, dinas ein Duw, yn nyffryn y mynyddoedd; a phan ddel yr amser iddi i ddyrchafu ei phen, daw ei Brenin, a bydd ei gogoniant yn hongiedig drosti; a phryd hyn bydd arswyd ar yr anwir ddynion.

Derbyniais ddeg sypyn o UDGORN SEION gan un o'r brodyr Seisnig a ddaeth yma efo y llong-lwyth gyntaf, wedi eu cyfarwyddo i Capt. Dan Jones. Byddant ar eu taith iddo cyn y delo y llythyr hwn i law, ond nid i gyd; oblegid, wedi iddynt ddyfod i'n tiriogaeth ni, barnasom fod genym hawl i'r degwm, a chymmerasom ddau o bob sypyn. Gwelwch nad ydym ddim wedi degymu mor drwm â'r hen wlad, yn ol cyfraith y degwm. Yr ydym wedi talu hanner blwyddyn am y "Frontier Guardian," ac y mae i ddyfod drosodd yna yn gysson, fel y byddo yn dyfod o'r wasg. Nid wyf wedi gweled dim ond un llythyr oddiwrthych, nac ychwaith yr UDGORN yn fisol, fel ag yr oeddech yn hysbysu; ac nid wyf yn gwybod pa un a dderbyniwyd y "Frontier Guardian" a ddanfonais, ai peidio; y mae wedi ei anfon i Merthyr a Dowlais. Derbyniais lythyr i Elizabeth Thomas, o swydd Forganwg, ac a'i hanfonais drosodd yn Ebrill diweddaf i'r Dyffryn. Na ddigaloned neb sydd wedi anfon llythyron i'r Dyffryn at eu perthynasau, ac at y brawd Jones hefyd, canys fe ddaw atebion yn ol mor fuan ag y gellir. Yr wyf yn dysgwyl clywed o'r Dyffryn, oddiwrth Capt. Jones a'r Saint Cymreig, o hyn i ddiwedd mis Mehefin. Mae y brawd Prythero o Abersychan, a'i deulu, yn aros yn bresennol yn fy nhy i, ac wedi cymmeryd peth tir mewn rhan arall o'r wlad, a bydd yn myned yno yn fuan.

Cofiwch fi at yr holl Saint, ynghyd â'r swyddogion; a bendith Duw fyddo gyda chwi.

Yr eiddoch yn y cyfammod tragywyddol,

WILLIAM MORGAN.

---

## PENNILL I'R HEIDDYN.

(*A ganodd Ffermwr wedi bod yn hau.*)

BUM yn claddu hen gydymmaith,  
Gododd yn fy mhen i ganwaith;  
Ac 'rwy'n ofni, er ei briddo,  
Y cyfyd yn fy mhen i etto.—*O'r Ymofynydd.*

## Y TAD, Y MAB, A'R YSBRYD GLAN.

### Y MAB.

WEDI ysgrifenu ein sylwadau yn ein rhifyn diweddaf ynghylch person y Tad, cawn yn awr etto, yn ol ein haddewid, ysgrifenu yr hyn a wyddom ynghylch y Mab, gan obeithio y bydd pawb yn cadw mewn cof mai wrth yr ysgrythyrau yr ydym i gael ein barnu, ac nid wrth draddodiadau disail yr oes.

Mae y Mab yn berson ar wahan oddiwrth y Tad, ac yn meddu, fel yntau, ar gorff, rhanau, a nwydau; ac yn mhob peth yn wir lun ei berson Ef, ond yn unig fod sylwedd ei gorff wedi ymgnawdoli, yn wahanol i sylwedd corff ei Dad. Mae un yn ysbryd, a'r llall yn gnawd ac esgyrn. Ni all y Mab, yn fwy na'r Tad, fod yn bresennol yn mhob man, ond yn unig trwy gyfrwng yr Ysbryd Glân. Yr oedd y Mab yn y dechreuad yn bodoli gyda y Tad, ac y mae yn bresennol yn eistedd ar ei ddeheulaw yn y nefoedd.

Nid oes dim yn fwy ynfyd a ffol na dweyd fod Iesu Grist yn feddiannol ar gorff o gnawd ac esgyrn, ac ar yr un pryd haeru mai Iesu Grist yw yr unig wir Dduw, "heb gorff, heb ranau, heb ddyoddefiadau." Mae yn ddifyrus darllen yr ail Erthygl yn y Llyfr Gweddi Cyffredin, "am y Gair, neu Fab Duw, yr hwn a wnaethpwyd yn wir Ddyn," pan y cofiwn fod yr erthygl gyntaf yn dweyd fod "y tri Person o un *sylwedd*," sef sylwedd heb gorff. Gallwn ddarllen yr ail erthygl fel hyn:—"Y Mab (heb gorff), yr hwn yw Gair y Tad, (heb gorff), a genedlwyd er tragywyddoldeb gan y Tad (heb gorff), gwir a thragywyddol Dduw (heb gorff), o'r un sylwedd â'r Tad (heb gorff), a gymmerodd natur dyn yn mru y Wyryf fendigaid (heb gorff), o'i sylwedd hi (heb gorff): fel y mae dwy natur berffaith gyfangwbl, sef y Duwdod a'r Dyndod (heb gorff), wedi eu cysylltu ynghyd yn un Person (heb gorff), ni wahenir byth (heb gorff), o'r rhai hyn y mae un Crist, gwir Dduw a gwir Ddyn (heb gorff), yr hwn a wir ddyoddefodd (heb gorff na dyoddefiadau), a groeshoeliwyd, a fu farw, ac a gladdwyd (heb gorff), i gymmodi ei Dad â nyni, ac i fod yn aberth (heb gorff), nid yn unig dros euogrwydd pechod gwreiddiol, eithr hefyd dros weithredol bechodau dynion." Etto, cawn ddarllen y 3ydd erthygl "am ddisgyniad Crist i uffern."

"Megys y bu Crist farw drosom (heb gorff), ac y claddwyd ef (heb gorff); felly hefyd y mae i'w gredu, iddo ddisgyn i uffern"—sef y bedd (heb gorff). Etto, y 4ydd erthygl, "am adgyfodiad Iesu Grist," a ddarllenir fel hyn:—"Crist a wir-adgyfododd o feirw (heb gorff), ac a gymmerodd drachefn ei gorff (heb gorff), gyda chnawd ac esgyrn, a phob peth a berthyn i berffeithrwydd naturiaeth dyn; â'r hyn y dyrchafodd efe i'r nefoedd (heb gorff). ac yno y mae yn eistedd (heb gorff) hyd oni ddychwelo (heb gorff) i farnu pob dyn y dydd diweddaf." Fel y gellir deall, mae y geiriau "heb gorff," sydd rhwng ymsangau, yn perthyn i'r Erthygl gyntaf.

Yn awr, mae yn rhaid i bob dyn pwyllog gredu fod gan Iesu Crist gorff; ac os mai Iesu Grist yw Duw, yna y mae yn rhaid cyfaddef fod gan Dduw gorff; ac os oes corff, y mae iddo ranau; ac os oes rhanau, y mae iddo ddyoddefiadau neu dymherau. Etto, mae yn rhaid i'r rhai sydd yn credu mai yr un yw y Tad a'r Mab, gyfaddef fod gan y Tad gorff cyfansoddedig o gnawd ac esgyrn, yr hyn ni chreda y Saint, o herwydd y gwyddant eu bod yn ddau berson gwahanol, ac yn gwahaniaethu o ran defnydd eu cyrff.

Ond, yn awr, cawn ymchwilio i'r ysgrythyrau er cael profion fod y Tad a'r Mab yn ddau berson gwahanol, ac nid fel y meddylia llawer mai ysbryd Crist cyn ymgnawdoli oedd y Tad, ac mai y Mab oedd y cnawd a gymmerodd arno. Yn Ioan xvii, 5, darllenir, "Ac yr awrhon, O Dad, gogonedda di fyfi gyda thi dy hun, â'r gogoniant oedd i mi gyda thi cyn bod y byd." Mae hyn yn dangos fod ysbryd Crist yn bodoli cyn bod y byd, a bod person arall a elwid y Tad yn cyd-fodoli ag ef, a chyda yr hwn hefyd y meddai efe ogoniant cyn i'r byd fodoli. Etto, "Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair. Hwn oedd yn y dechreuad gyda Duw. * * A'r Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni (ac ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megys yr Unig-anedig oddiwrth y Tad) yn llawn gras a gwirionedd." (Ioan i, 1, 2, 14). Yr oedd y Gair, yr hwn yw Crist, yn y dechreuad gyda'r Tad: yn wir, efe oedd dechreuad creadigaeth Duw,"*—"y Seren foren eglur"†—"cyntaf-anedig pob creadur."‡

Mae y profion blaenorol yn cael eu cadarnhau gan yr hyn a

* Dad. iii, 14. † Dad. xxii, 16. ‡ Col. i, 15.

ysgrifena Moses am y greadigaeth. Amlwg yw fod mwy nag un person wrth y gwaith o greu. Dywedir yn Gen. i. 1, "Yn y dechreuad y creodd Duw [*Aleheem*] y nefoedd a'r ddaear" Cydnabyddir yn gyffredin fod y gair *Aleheem* yn y rhif lliosog, ac y dylai gael ei gyfieithu yn Dduwiau, yn lle Duw. Pe buasai yr enw Hebreig *Aleheem*, yr hwn a fedda derfyniad lliosog, yn enw diffygiol, yn cael ei arfer yn unig yn y rhif unigol, buasai rhyw esgus dros ei gyfieithu yn Dduw, yn y rhif unigol; ond y mae y rhif unigol, fel y sylwa y Parch. D. James yn ei "Unitarianism Confuted," yn gystal â'r rhif liosog o'r enw hwn, yn dygwydd yn fynych yn y Beibl. Mae rheswm, gan hyny, yn dangos, os nad oedd dim ond un Bod yn creu y byd, fod yr iaith a arferir yn yr ysgrythyr yn anmhriodol, ac yn tueddu i gam-arwain. Ond, os oedd mwy nag un Bod, yna mae yr iaith yr hyn a ddylai fod, ac ni atebasai y dyben mewn un ffordd arall. Mae y gair yn dygwydd yn y bennod gyntaf o Genesis ddim llai na deg-ar-hugain o weithiau, ac yn mhob man ceir ef yn y rhif lliosog, yr hyn sydd yn cytuno â dywediadau ereill; megys, "Duw [Aleheem] hefyd a ddywedodd, Gwnawn ddyn ar EIN delw NI, wrth EIN llun EIN HUNAIN" (Gen. i, 26.) Etto, "Hefyd yr Arglwydd Dduw [Jehovah Aleheem] a ddywedodd, Wele y dyn sydd megys un o HONOM NI, i wybod da a drwg" (iii, 22). Heblaw hyn, y mae llawer o fanau ereill yn yr ysgrythyr, yn yr iaith wreiddiol, yn cadarnhau fod mwy nag un Duw, megys yn Diar. ix, 10; Mal. i, 6; Preg. xii, 1; Esay liv, 5; Salm cxlix. 2; Job xxxv, 10, &c; o herwydd y mae yr enwau a roddir ar Dduw yn mhob un o'r manau uchod, yn yr iaith wreiddiol, wedi eu rhoddi yn y rhif lliosog, megys Duwiau, y Rhai Santaidd, Creawdwyr, Gwneuthurwyr, &c. Mae yn rhesymol, ynte, mai y Tad a'r Mab sydd i feddwl pan ddywedir, "Cofia yn awr dy *Greawdwyr*," &c., fel y mae yn yr iaith wreiddiol; yr hyn sydd yn cyd-dystiolaethu â'r hyn a geir yn y Testament Newydd. Nid oes neb na chanfydda nad yw Duw y Tad yn Greawdwr; canys dywedai Paul am droi "at Dduw byw, yr hwn a wnaeth nef a daear, a'r môr, a'r holl bethau sydd ynddynt." (Act. xiv, 15). Ond dywed yr ysgrythyr fod y Mab yn Greawdwr hefyd. "Yn y dechreuad," meddai Ioan, sef yr un "dechreuad" ag y creodd y *Duwiau* y nefoedd a'r ddaear, "y Gair oedd gyda Duw: trwyddo ef y *gwnaethpwyd* pob peth; ac hebddo ef ni wnaethpwyd

dim a'r a wnaethpwyd." A rhag i neb dybied fod y Gair yn arwyddo doethineb dwyfol, ychwanegodd yn union, "Ynddo ef yr oedd bywyd," yr hyn sydd yn ei osod allan yn berson, yn fwy na dim arall. Ond ychwanega Ioan drachefn "A'r Gair a wnaethpwyd yn *gnawd*," neu ddyn, ac a drigodd yn mhlith yr Iuddewon, y rhai a welsant ei "ogoniant ef, gogoniant megys yr Unig-anedig oddiwrth y Tad." Eithr pa fodd yr oedd efe yn gallu cynnorthwyo y Tad yn ngwaith y greadigaeth? Mae yr Apostol Ioan yn rhoddi yr ateb, "A *Duw* oedd y Gair." Mae Paul hefyd yn priodoli creadigaeth pob peth i'r un person, dan yr enw mwy arferol o Fab Duw:—"Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwaredodd ni allan o feddiant y tywyllwch, ac a'n symudodd i deyrnas ei anwyl Fab: yr hwn yw delw y Duw anweledig, cyntaf-anedig pob creadur; canys trwyddo ef y crewyd pob dim a'r sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear, yn weledig ac yn anweledig, pa un bynag ai thronau, ai arglwyddiaethau, ai tywysogaethau, ai meddiannau; pob dim a grewyd trwyddo ef, ac erddo ef. Ac y mae efe cyn pob peth, ac ynddo ef y mae pob peth yn cyd-sefyll." Yn awr, dyma un arall o'r "Creawdwyr," sef y Gair neu Fab Duw.

Wedi dangos o'r ysgrythyrau fod mwy nag un person o'r Duwdod wedi bod yn creu y byd, cawn etto ddwyn ysgrythyrau mwy cadarnhaol i brofi fod y Mab yn berson gwahanol oddiwrth y Tad. Pan ddisgynodd Ysbryd Duw ar Iesu ar ol ei fedyddiad, clywyd llais o'r nefoedd yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd" (Math. iii, 17). Dyma, ynte, berson yn llefaru allan o'r nefoedd, tra yr oedd ei Fab ar y ddaear, yr hyn sydd yn profi eu bod yn ddau berson gwahanol; ac y mae bod yr Ysbryd Glân yn dyfod oddiwrth un at y llall, yn profi fod hwnw drachefn yn sylwedd ar wahan oddiwrth y Tad a'r Mab. Etto, pan oedd Crist yn cael ei groeshoelio, dywedodd, "O Dad, i'th ddwylaw di y gorchymynaf fy YSBRYD" (Luc xxiii, 46). Dyma brawf, y mwyaf cadarn, fod person a elwid yn Dad yn bodoli yn anymddibynol, nid yn unig o gnawd, ond o ysbryd yr Iesu a drigai yn y cnawd. Pa fodd y gallai yr Iesu orchymyn ei ysbryd i ddwylaw y Tad, os nad oedd ysbryd Iesu yn un person, a'r Tad yn un arall? Etto, ar ol esgyniad Crist, Stephan y y merthyr, "ac efe yn gyflawn o'r Ysbryd Glân, a edrychodd yn ddyfal tua'r nef; ac a welodd ogoniant Duw, a'r Iesu yn sefyll

ar ddeheulaw Duw: ac efe a ddywedodd, Wele, mi a welaf y nefoedd yn agored, a Mab y Dyn yn eistedd ar ddeheulaw Duw." Gwel Act. vii, 55, 56. Yr oedd Stephan yn gweled dau berson, ac un yn sefyll ar ddeheulaw y llall; yr hyn sydd yn dangos hefyd fod yno raddau mewn awdurdod. Etto yn 1 Cor. xi, 3, dywed Paul "Eithr ni fynwn i chwi fod heb wybod, mai pen pob gwr yw Crist; a phen y wraig yw y gwr; a *phen Crist yw Duw.*" Mae hyn etto yn cadarnhau yr un peth, heblaw lluoedd o ysgrythyrau ereill a ellid eu nodi. Oni ddarllenwn yn fynych iawn am Grist yn gweddio ar ei Dad, ac yn tystiolaethu mai y Tad oedd wedi ei ddanfon ef i'r byd, &c.? Mae hyn oll yn gosod allan tuhwnt i un ammheuaeth fod y Tad a'r Mab yn ddau berson gwahanol.

Ond fe ddywed ein gwrthwynebwyr fod Crist yn dweyd, yn Ioan x, 30, "*Myfi a'r Tad* UN *ydym*;" ac o ganlyniad, nad yw yn bosibl fod y Tad a'r Mab yn ddau berson fel ag yr ydym ni wedi eu darlunio. Ac hefyd, gallant ddweyd fod Crist yn cael ei alw yn Dduw, nid yn unig yn y Testament Newydd, ond hefyd yn Llyfr Mormon; ac os yw efe yn Dduw, pa fodd y mae i ni Dad a elwir yn Dduw hefyd, os nad oes mwy o Dduwiau nag un? Yn awr, am i Grist ddweyd ei fod ef a'r Tad yn un, cododd yr Iuddewon yn ei erbyn ef, o herwydd ei fod trwy hyny yn gwneuthur ei hun yn Dduw. "Yr Iesu a atebodd iddynt, Onid yw yn ysgrifenedig yn eich cyfraith chwi, Mi a ddywedais, *Duwiau* ydych? Os galwodd efe hwy yn dduwiau, at y rhai y daeth gair Duw, (a'r ysgrythyr nis gellir ei thori); a ddywedwch chwi am yr hwn a santeiddiodd y Tad, ac a'i hanfonodd i'r byd, Yr wyt ti yn cablu; am i mi ddywedyd, Mab Duw ydwyf?" (Gwel Ioan x, 31--36.) Gwelir yma fod yr ysgrythyr yn galw hyd y nod "y rhai y daeth gair Duw" atynt, yn D*duwiau*, ac os felly, pa faint mwy addas y gellir galw unig-anedig Fab Duw, yn Dduw hefyd, heb fod yn rhaid iddo fod yr un person â'i Dad? Er y gelwir y rhai y daeth gair Duw atynt yn Dduwiau, etto nid oes neb mor ffol â meddwl mai dim ond un person a berthyn iddynt hwy, ac i'r Mab a'r Tad, o herwydd fod Crist yn dweyd mewn man arall am ei ddyscyblion, "Y Tad santeiddiol, cadw hwynt trwy dy enw, y rhai a roddaist i mi, fel y byddont UN, *megys ninnau.*" Yr oedd Iesu Grist am i'w ddyscyblion fod yn un â'u gilydd, megys yr oedd

efe yn un â'i Dad; ac nid yn unig hyny, ond ewyllysiai iddynt hefyd fod yn *un* ynddo ef a'i Dad, fel y gwelir yn Ioan xvii, 21. Trwy ddarllen y bennod ceir allan mai trwy gael eu santeiddio a'u perffeithio, fel y Tad a'r Mab, yr oedd y cyfan i gael eu gwneyd yn *un*. O ganlyniad, pan ddywedir fod y Tad a'r Mab yn un, y meddwl yw, eu bod yn un yn eu perffeithderau, priodoleddau, neu eu natur, ond nid yn eu personau; ac felly hefyd y rhaid deall ynghylch undeb y dyscyblion â'u gilydd, ac â'r Tad a'r Mab. Mae y Tad a'r Mab yn un mewn doethineb, gallu, a gogoniant; a gweddiai Iesu Grist ar fod y dyscyblion yr un fath. Yn awr, ynte, os yw undeb y dyscyblion yn gynnwysedig, nid yn eu personau, eithr yn natur eu gallu, a'u gogoniant, a phriodoleddau ereill, yna rhaid mai yn yr ystyr hyn yn unig y mae'r Tad a'r Mab yn un: o ganlyniad, un Duw sydd, ac un yn unig, pan y llefarwn am berffeithderau a phriodoleddau; ond y mae lliosogrwydd o Dduwiau, pan y llefarom am bersonau a sylweddau.

Mae yr Ysgrythyrau a Llyfr Mormon yn gosod allan fod Crist yn Dad ac yn Fab. Pa fodd, meddai y gwrthwynebwyr, y gall fod person arall a elwir yn Dad, pan elwir Crist yn Dad? Atebwn, nad yw Crist mewn un man yn cael ei alw yn Dad iddo ei hun, ond gelwir ef "*y Tad,*"* "*y Tad tragywyddol,*"† "*Tad tragywyddoldeb,*"‡ "*gwir Dad tragywyddol nefoedd a daear.*"§ Nid oes un dirgelwch yn yr ymadroddion hyn, mwy na fyddai wrth alw Adda, neu ryw ddyn arall â theulu, yn dad ac yn fab. Yn wir Adda yw tad cyrff cnawdol yr holl hil ddynol, ac yn wir y mae efe yn fab Duw trwy greadigaeth: ac y mae Mathew yn galw Adda yn *fab Duw.*"‖ O ganlyniad, y mae Adda, fel pob dyn arall â theulu, yn dad ac yn fab. O herwydd fod Adda yn dad yr hil ddynol, nid oedd hyny yn rhwystr iddo fod yn blentyn i berson gwahanol arall a elwir Duw: felly hefyd, o herwydd fod ysbryd yr Iesu, cyn iddo drigo yn y cnawd, yn Dad nefoedd a daear, trwy mai efe oedd eu Hawdwr a'u Creawdwr, nid oedd hyny yn rhwystr iddo feddu Tad ei hunan ag oedd yn berson gwahanol oddiwrtho ei hun, yn gymmaint felly â phob tad a mab arall.

* "Y neb am gwelodd i, a welodd Y TAD."—Ioan xiv, 9.
† Llyfr Mormon, ail argraffiad Seisnig, tud. 178. ‡ Esay ix, 6.
§ Llyfr Mormon, ail argraffiad Seisnig, tud. 175. ‖ Luc iii, 38.

Mae y prophwyd Abinadi yn egluro hyn yn ardderchog mewn rhagfynegiad ynghylch dyfodiad cyntaf Crist: dywed ef, "Duw ei hun a ddaw i waered i blith plant dynion, ac a wareda ei bobl; ac am y triga mewn cnawd, gelwir ef yn Fab Duw; ac wedi darostwng y cnawd i ewyllys y Tad, gan fod yn Dad ac yn Fab; yn Dad, o herwydd iddo gael ei genedlu trwy allu Duw; ac yn Fab, o herwydd y cnawd; felly y mae yn Dad ac yn Fab: a hwynt-hwy ydynt un Duw, ïe, gwir Dad tragywyddol nefoedd a daear; ac felly mae y cnawd, trwy ddyfod yn ddarostyngedig i'r ysbryd, neu y Tad i'r Mab, gan fod yn un Duw, yn dyoddef temtasiynau," &c.* Yr ydym yma yn cael y rhesymau paham yr oedd efe yn cael ei alw yn Dad: "o herwydd iddo gael ei genedlu gan allu Duw." Yn mhlith y teulu mawr o ysbrydion, yr Iesu oedd "y cyntaf-anedig o bob creadur." Daeth ei ysbryd ef, trwy gael ei genedlu gan allu Duw, cyn gwneuthur y bydoedd, yn Dad i'r nefoedd a'r ddaear bresennol, ac wedi hyny daeth i drigo mewn cnawd, ac felly dyfod yn Fab. Darostyngodd efe y cnawd i ewyllys yr ysbryd; neu mewn geiriau ereill, darostyngodd ei gorff cnawdol ei hun, trwy yr hyn y daeth yn Fab, i ewyllys yr ysbryd a drigai ynddo, yr hwn a elwid yn Dad, nid Tad ei hunan, eithr Tad nefoedd a daear, trwy ei fod yn Awdwr, Creawdwr, ac yn Waredwr iddynt. Yr oedd Tad y greadigaeth hon, trwy ddarostyngiad ei dabernacl o gnawd i'w ewyllys ei hun, ar yr un pryd yn darostwng ei gorff a'i ysbryd i ewyllys ei Dad *ef*, yr hwn a'i danfonodd. Fel hyn, y mae yr Iesu wedi dyfod yn Dad ac yn Fab, ac ar yr un pryd y mae bod arall ar wahan oddiwrtho ef, yr hwn yw ei Dad *ef*, gan yr hwn y cafodd ei genedlu, a chyda yr hwn y bodolai cyn bod y drefn bresennol ar y greadigaeth.

Credwn ein bod yn awr wedi dweyd digon i brofi fod y Mab yn berson gwahanol oddiwrth y Tad, a'i fod yn Dduw ac yn Dad i ni. Ond etto, dymunwn ar bawb i ddeall mai nid arno ef y gorchymynir i ni weddio, ond ar ei Dad EF, yn enw ei Fab Iesu Grist.

Gan fod y pwnc hwn etto wedi chwyddo dan ein dwylaw, gohiriwn ein sylwadau ynghylch yr Ysbryd Glân hyd y rhifyn nesaf, pan y gobeithiwn orphen ein sylwadau.

* Llyfr Mormon, ail argraffiad Seisnig, tud. 175.

## Y MORMONIAID.

[Allan o SEREN GOMER am Orphenaf, 1850.]

Y SYLWADAU canlynol, mewn perthynas i'r Mormoniaid, a'r lle y maent yn aros ynddo yn bresennol, a gymmerasom allan o Newyddiadur Americanaidd, a elwir y *Cincinatti Atlas*; a chan y dichon ei fod yn newydd i lawer o'n darllenyddion, fe allai y rhodda ryw radd o ddywenydd iddynt; ond yn unig rhaid iddynt fod ar eu gwyliadwriaeth rhag fod Golygydd y cyfryw Newyddiadur ryw faint yn rhy ffafriol i'r twyllwyr hyny, gan nad yw yn dewis dynoethi y troseddau anfad a gyflawnasant yn mhob lle y buont yn preswylio yn America, ac o herwydd pa rai y cawsant eu gyru o'r naill le i'r llall, fel creaduriaid annheilwng i gyfeillachu â bodau rhesymol a moesol. Y Newyddiadur crybwylledig a ddyweda fel y canlyna:—

"Yr ydym yn dymuno galw sylw y darllenydd at sefyllfa newydd ac hynod y Mormoniaid. Mae saith mil o'r bobl hyn wedi cael lle o orphwysdra yn y man mwyaf hynod ar gyfandir America. Oddiar yr amser y bu plant Israel yn teithio trwy yr anialwch, neu y darfu i ryfelwyr y Groes ruthro ar Palestina, nid oes dim mewn hanesyddiaeth wedi bod mor hynod â mudiad y Mormoniaid presennol. Miloedd o honynt a ddaethant o wledydd a dinasoedd Ewrop, i uno â miloedd ereill a ymgasglasant yn Nhaleithiau Caerefrog Newydd a Lloegr Newydd, i sefydlu Jerusalem Newydd yn y gorllewin pell. Adeiladasant deml, ac eglwysi, ac ysgolion yn nhalaeth Ohio; ond ymlidiwyd hwy oddiyno, ac adeiladasant Nauvoo, yn nhalaeth Illinois. Daeth hon yn ddinas fawr; ac yr oedd ugain mil o Formoniaid wedi ymgynnull iddi. Ymosodwyd arnynt yno drachefn, lladdwyd eu prophwyd, eu dinas a anrheithiwyd, a'u teml a losgwyd yn ulw. A ddarfu i'r holl ddygwyddiadau adfydus hyn eu llwyr ddinystrio? Naddo, mewn un modd. Mae saith mil o honynt wedi ymsefydlu yn awr ar wastadedd uchelaf cyfandir America Ogleddol, a dywedir eu bod mewn amgylchiadau cysurus a blodeuog. Miloedd yn ychwaneg ydynt yn dyfod i uno â hwynt o Iowa, a miloedd ereill o Gymru. Nid oes un amgylchiad mor hynod wedi cymmeryd lle yn yr oes hon.

"Y man lle y mae y Mormoniaid yn awr wedi ymsefydlu ynddo, sydd yn un o'r rhai mwyaf dyddorawl ar y cyfandir Amer-

icanaidd; ac nid ydym yn gwybod fod un arall yn gyffelyb iddo ar wyneb yr holl ddaear. Edrychwch ar ddarlunlen America, ychydig i'r dwyrain oddiwrth y Llyn Halen Fawr, ac yn gymhwys i'r deau oddiwrth y Fynedfa dde-orllewinol, a chwi a gewch weled, yn nghongl ogledd-orllewinol California, y gwastadedd uchel ar ba un y tardda yr afonydd yn Ngogleddbarth America. Mae yn chwe mil o droedfeddi, ac fe allai lawer yn ychwaneg, yn uwch nag arwynebedd y mòr, sef y Werydd. Yn y gongl unigol hon, mewn dyffryn cuddiedig yn mhlith mynyddoedd a llynoedd, y mae y Mormoniaid wedi ymsefydlu; ac oddiyno y ffrydia allan yr afonydd mawrion ag ydynt yn dwfrhau ac yn ffrwythloni cyfandir America, y rhai nid oes mo'u cyffelyb mewn un parth o'r byd. Braidd nas gellwch daflu careg o ffynnonell yr Afon Felys i ffynnonell yr Afon Werdd. Y flaenaf a ymarllwysa i'r Afon Plattie, a hono i'r Missouri, a hono a reda i'r Mississippi Fawr, yr hon a ymarllwysa i Gulfor Mexico, wedi dwfrhau y wlad dros filoedd o filltiroedd. Yr olaf, sef yr Afon Werdd, a reda i'r Colorado, a'r Colorado a ymarllwysa i Gulfor California, lle yr ymgymmysga â dyfroedd y Môr Tawel. Y flaenaf sydd yn 2,500 o filltiroedd o hŷd, a'r ail sydd yn fwy nâ 1,500; ac y mae y ddwy yn rhedeg i daleithiau trofanol. Ychydig i'r gogledd o darddiad yr afonydd crybwylledig, y mae ffynnonell Afon y Sarff, yr hon a reda i'r Afon Columbia, yn agos i ledred 46 gradd, gwedi cwrs o 1,000 o filltiroedd; ac ychydig i'r deau y mae ffynnonell y Rio Grande, yr hon, wedi dolenu trwy y wlad dros 1,700 o filltiroedd, a ymarllwysa i'r Werydd yn Nghulfor Mexico. Felly, canfyddir fod y Mormoniaid wedi ymsefydlu mewn lle hynod iawn; ac y mae yn debyg y deuant yma yn drefedigaeth gref a nerthol.

"Brawd i Olygydd y Newyddiadur a elwir y Niles Republican, yr hwn a ymfudodd yn ddiweddar i wlad y Mormoniaid, a rodda i ni yr hanes canlynol am olygiadau penchwiban y Mormoniad mewn perthynas i adeiladu teml newydd. Ymddengys fod y deml hon i fod yn adeilad ardderchog iawn. Maent wedi cau i mewn ddernyn o dir yn 17 milltir o hŷd, ac yn 12 milltir o led, â mur o bridd, yr hwn sydd yn wyth troedfedd o uchder, ac yn bedair troedfedd o drwch. Mae dinasoedd i fod y tu fewn i'r mur hwn; ac y mae twr y deml i fod yn 600 troedfedd o uchder, fel y gellir ei ganfod 80 milltir yn mhob ffordd."

[Mae ymddangosiad y dernyn blaenorol yn *Seren Gomer* yn peri ychydig o syndod i ni; canys pa pryd y daeth allan mor anmhleidiol o'r blaen? Ond bydded pawb "ar eu gwyliadwriaeth rhag fod golygydd y cyfryw Newyddiadur ryw faint yn rhy ffafriol i'r twyllwyr!" Meddianned pawb ddigon o ragfarn a gelyniaeth yn erbyn y Saint, ac yna ni fydd niwed o'i ddarllen! Creder mai twyll yw pob peth, ac yna ni cyfeiliorna neb!' Dealled pawb mai nid "troseddau anfad" Cristionogion America, oedd ymlid y Saint, anrheithio eu dinasoedd, lladd eu prophwyd a'u brodyr, treisio eu menywod, llosgi eu tai a'u teml; eithr eu *duwioldeb* hwy oedd hyny a phob drwg arall a wnaent!—GOL.]

---

## LLYTHYR O FFRAINC.

*Boulonge-sur-mer, Mehefin* 20, 1850.

ANWYL FRODYR W. PHILLIPS A J. DAVIS,—Cychwynais o dref ar y 14eg, a chyrhaeddais Llundain ar y 15fed.

Ar y 16eg, treuliais y dydd yn llawen gyda'm cyfeillion yn Albert Square. Yr oedd yn bresennol y brawd J. Taylor, un o'r deuddeg. Afraid i mi ei ddesgrifio; gwyddoch yn dda fod ei enw yn fendigedig yn ngolwg Duw, ac yn anwyl gyda'i holl Saint ef. Tystiodd lawer o weithiau mai pobl dda—gyda'r goreu a ganfyddodd, ydyw y Saint yn Nghymru; ac nid byth yr anghofia eu caredigrwydd, a'i ymdrechiadau o blaid cenadiaeth y cyfandir. Mae yn y llythyr hwn yn dymuno ei gofio yn garedig atoch oll, gan ddymuno ar i'r Arglwydd eich bendithio, a chyflawni eich holl anghenion, yn ol cyfoeth ei ogoniant yn Nghrist Iesu.

Yn yr un man y canfyddais, am y tro cyntaf, y brodyr Pack a Bolton. Mae y diweddaf yn bur hyddysg yn y iaith Ffrengaeg; ac o ran pryd a gwedd, dull ac agwedd, mor debyg i'r anwyl frawd Capt. D. Jones, fel na allaf lai na chanfod darlun hollol o'n hanwyl frawd, tra byddo y brawd C. E. Bolton yn bresennol. Yn eu plith hefyd yr oedd gweinidog y French Protestant Church yn Havre, yr hwn a gredodd yr efengyl gyntaf yn Ffrainc, wedi fy holi yn fanwl am un awr ar ddeg.

Mewn neuadd hardd, yn llawn o frodyr cu, fe'm dyddanwyd trwy'r dydd mewn llawer dull a modd; weithiau trwy glywed desgrifiadau rhyfedd am ogoniant, llwyddiant, a chadernid Seion, yn ystlysau y gogledd, yn Euphrata; brydiau ereill wrth wran-

daw ar bêr-seiniadau peroriaeth hyfryd oedd yn cael ei chwarae gan y brawd Bolton. Bu ymdrechfa go hardd rhwng y brawd Taylor, ac un o'r chwiorydd ieuainc ar y piano, ond rhaid cyfaddef i fysedd smart y lodes ieuanc ennill y dydd. Fe ddarfu i'r brodyr Bolton a Taylor, amrywiol o weithiau, ein dyddanu â chaniadau Seion, nes gwneyd i'n calonau lamu gan lawenydd, a'r tristwch mwyaf oedd yn gorfod ymadael o'r gyfeillach hon. Aeth y boneddwr, gweinidog y Ffrench, gyda mi at ddrws y brawd Bray, heol Gloucester, lle yr oeddwn yn cartrefu, yna aeth yn ol i'w letty.

Sul, yr 16eg, am 11 o'r boreu, cyfarfyddais â'r brodyr Taylor Bolton, Cutler, &c., ar esgynlawr y neuadd fawr ac hardd yn Theobald's Road. Pregethais gyda'r brawd Bolton i gynnulleidfa hardd, a lliaws o'r swyddogion. Am ddau, yn y prydnawn, wedi i mi ddechreu y cwrdd trwy weddio, a chadarnhau gyda'r brawd Hyde, dwy lodes foneddig hardd yn aelodau o eglwys Iesu Grist, S. D. D., trwy weinyddu yr ordinhad o osod dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glân; yna cododd y brawd Taylor ar ei draed, a llefarodd am yn agos i ddwy awr am ryw ddoethineb ag oedd yn eangu ein dealltwriaeth, ac yn cysuro ein calon. Yr oedd y boneddwr o Ffrainc ar yr esgynlawr, wrth ochr y brawd Taylor trwy'r dydd. Am saith, yn yr hwyr, pregethodd y brawd Taylor yn gampus; yr oedd awdurdod yn ei leferydd ag oedd yn gwneyd yr anystyriol i grynu, a'r onest ei galon i lamu gan lawenydd.

Dydd Llun, yr 17eg, daeth y boneddwr French ataf yn foreu, ac aethom bum milltir i Albert Square, lle am 11 o'r gloch yr ordeiniwyd y brodyr Stayner a Piercy yn genadon i Ffrainc, a'r brawd Bowring yn genadwr i'r Iwerddon. Yr oedd eu gwragedd yn bresennol yn cael eu bendithio yn enw Duw Abraham, Isaac, Jacob, Joseph, ac Hyrum, am eu gwroldeb yn caniatâu yn foddlongar i'w gwyr fyned yn ol cynghor Duw i lafurio yn ei winllan mewn gwledydd estronol. Diau y bendithir *Martha* hefyd.

Cychwynodd y brodyr Taylor, Bolton, &c., gyda mi am saith, boreu dydd Mawrth, tua Boulogne; cawsom fordaith hyfryd; tiriasom yn y ddinas fawr hon am chwech yn y prydnawn; a gosododd y brawd Taylor ei draed ar dir Ffrainc am y tro cyntaf. Yr oedd natur yn gwenu tra yr oedd gweision Duw, yn enw eu Meistr, yn cymmeryd meddiant o'r wlad, yr hon sy'n cynnwys

dros 34 miliwn o drigolion. Llwyddiant i'r genadiaeth ddwyfol, a dyweded holl Israel Duw, Amen.

Yn y llythyr nesaf, rhoddaf hanes cyflawn o'n hymdrechiadau, ein llafur, a'n llwyddiant. Yn y cyfamser, henffych well i'm holl frodyr a chwiorydd, a chyd-swyddwyr yn Nghymru, y rhai sydd wedi cael ffafr gyda Duw, ac a fyddant yn fendigedig yn mhlith eu brodyr a'u chwiorydd o deyrnasoedd ereill, oll wedi cyfarfod, yn llon ac yn hardd eu gwedd, ar gedyrn fynyddoedd a ffrwythlawn froydd Ephraim. Gweddied yr holl Saint drosom.

Yr eiddoch yn Nghrist,

WILLIAM HOWELL.

---

## SEION, A NODAU EI PHRESWYLWYR.

PAN adeilader Seion,
Gan Dduw trwy ffyddlon dystion,
Pryd hyny gwel'd eu Brenin gânt,
Yn ei ogoniant tirion.

Mae'r daith yn faith i Seion,
A gorthrymderau chwerwon;
Ond gwyn eu byd ddyoddefo wg
Ac anwir gan ddrwg ddynion.

Addawodd Duw, mae'n ddiau,
I'w weision er's maith oesau,
Ddarparu man i'w blant gael hedd
Yn y diweddaf ddyddiau.

Dros foroedd a mynyddoedd
Ymfudo wnant yn filoedd,
O'r De a'r Dwyrain, Gogledd draw,
Gorllewin ddaw yn lluoedd.

Mae'r Saint yn hoff gan Iesu,
Am hyny myn eu cyrchu;
I Seion gu dan ganu'r ânt,
Lle cânt eu gogoneddu.

Agorir yno ffynnon
I olchi yn glaer-wynion,
Hen bechaduriaid o bob rhyw,
Fu gynt yn byw'n afradlon.

Yr Arglwydd a addawodd,
Yn Seion, i'r holl bobloedd,
Wneyd gwledd o basgedigion bras,
A'r gwin blasusaf redodd.

Gwyn fyd rhai pur o galon
O fewn i furiau Seion,
A'r trugarogion yr un wedd,
A'r tangnefeddwyr tirion.

Ni thrig o fewn ei muriau,
Yr un a dd'wed gelwyddau ;
Diwreiddir hwy o'r santaidd dir,—
Mae hyn yn wir diammau.

Bydd yno apostolion,
Bugeiliaid ac athrawon,
Henuriaid a phrophwydi 'nghyd,
Ac hefyd gweledyddion.

Eu dyben yw perffeithio
Y Saint, a'u cadw'n effro
I wylio a gweddïo'n glau,
Rhag Satan eu niweidio.

Un corff sydd gan yr Iesu,
Un ysbryd i'w lywyddu ;
Un Arglwydd hefyd, ac un ffydd,
Un bedydd gyda hyny.

Ar ffrwynau'r meirch santeiddwrydd
A fydd i enw'r Arglwydd,
Pan fo gwybodaeth Duw a'i ddawn,
Yn gyflawn drwy'r holl wledydd.

Bydd fwy-fwy eu gorfoledd,
Pan ddel adferiad rhyfedd,—
Pan fyddo'r oen a'r blaidd yn nghyd,
A'r llewpard yn cyd-orwedd.

Bydd yno bêr foliannu,
Gan seintiau anwyl Iesu,
Cyd-byncio wnant ar llu uwch ben,
Amen, amen, am hyny.

GWILYM COLLWYN.

## MYNEGIAD Y CYNNADLEDDAU YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG, AM YR HANNER BLWYDDYN YN DIWEDDU MEH. 1, 1850.

| *Cynnadleddau.* | *Cang.* | *A.* | *D.* | *Hen.* | *Off.* | *Ath.* | *Di.* | *Tor.* | *Mar.* | *Ymf.* | *Bed.* | *Oll.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Cheltenham ........ | 20 | 0 | 0 | 47 | 34 | 34 | 20 | 11 | 4 | 10 | 159 | 731 |
| Manchester ........ | 30 | 1 | 1 | 103 | 192 | 83 | 39 | 75 | 21 | 68 | 256 | 2787 |
| *Bedfordshire ....... | 21 | 1 | 2 | 52 | 58 | 25 | 19 | 13 | 0 | 1 | 128 | 810 |
| Liverpool .......... | 14 | 0 | 1 | 50 | 65 | 27 | 22 | 25 | 10 | 67 | 153 | 1018 |
| Warwickshire ...... | 20 | 1 | 1 | 48 | 48 | 25 | 20 | 31 | 3 | 24 | 76 | 791 |
| Worcestershire ...... | 11 | 0 | 0 | 25 | 24 | 8 | 9 | 10 | 1 | 5 | 16 | 304 |
| Isle of Man.......... | 3 | 0 | 0 | 8 | 7 | 5 | 4 | 0 | 0 | 6 | 5 | 95 |
| Glasgow ............ | 26 | 0 | 1 | 93 | 68 | 91 | 39 | 160 | 9 | 16 | 180 | 1846 |
| Norwich ............ | 14 | 0 | 1 | 36 | 55 | 25 | 18 | 20 | 0 | 0 | 154 | 585 |
| Newcastle-on - Tyne - | 18 | 1 | 0 | 56 | 41 | 16 | 12 | 20 | 5 | 0 | 79 | 623 |
| Lincolnshire ........ | 13 | 1 | 0 | 19 | 37 | 23 | 5 | 9 | 3 | 16 | 87 | 429 |
| †London ............ | 42 | 0 | 0 | 103 | 119 | 72 | 47 | 56 | 15 | 43 | 595 | 2529 |
| ‡Herefordshire ...... | 22 | 0 | 2 | 60 | 58 | 46 | 29 | | | | 288 | 954 |
| §Staffordshire ...... | 16 | 2 | 0 | 60 | 55 | 21 | 17 | 27 | 6 | 15 | 50 | 647 |
| Derbyshire.......... | 14 | 0 | 2 | 45 | 25 | 21 | 11 | 3 | 3 | 0 | 46 | 445 |
| Leicestershire ...... | 5 | 0 | 0 | 13 | 17 | 8 | 6 | 2 | 0 | 9 | 37 | 262 |
| Hull ................ | 6 | 0 | 0 | 18 | 19 | 8 | 4 | 16 | 3 | 1 | 44 | 327 |
| South Conference.... | 17 | 0 | 0 | 32 | 60 | 42 | 35 | 39 | 5 | 23 | 116 | 1039 |
| Sheffield ........... | 29 | 0 | 1 | 56 | 105 | 67 | 41 | 77 | 16 | 16 | 310 | 1929 |
| Bradford ........... | 15 | 0 | 0 | 39 | 59 | 26 | 14 | 12 | 6 | 52 | 109 | 783 |
| Edinburgh .......... | 22 | 1 | 0 | 47 | 42 | 60 | 21 | 95 | 7 | 23 | 164 | 1331 |
| Clitheroe .......... | 10 | 1 | 0 | 23 | 28 | 19 | 11 | 10 | 4 | 14 | 25 | 317 |
| ‖Southampton ...... | 5 | 0 | 0 | 10 | 8 | 4 | 2 | | | | | 166 |
| Galloway Union .... | 2 | 0 | 0 | 3 | 2 | 0 | 0 | 3 | 1 | | 1 | 21 |
| ¶Cymru 11 Cynnadl. | 110 | 3 | 0 | 423 | 242 | 219 | 128 | 222 | 17 | 71 | 731 | 4342 |
| Birmingham ........ | 18 | 0 | 2 | 85 | 103 | 56 | 43 | 95 | 6 | 44 | 191 | 1909 |
| ☞Preston........... | 8 | 1 | 0 | 40 | 28 | 18 | 2 | | | | | 500 |
| **Channel Islands .. | 5 | 0 | 0 | 6 | 11 | 10 | 4 | 6 | 2 | 0 | 48 | 253 |
| Iwerddon (dim cyfrif) | — | — | — | — | — | — | — | — | — | — | — | — |
| Cyfanswm .... | 536 | 13 | 14 | 1600 | 1610 | 1059 | 622 | 1037 | 147 | 524 | 4048 | 27863 |

* Ychwanegwyd at y gynnadledd hon, oddiar Ionawr, gangenau Luton, Eddlesbro, Flamstead, Hemel Hempstead, a Studham.—Gwel nodyn Cynnadledd Llundain. † Oddiar Ionawr, mae cangenau Luton, Eddlesbro, Flamstead, Hemel Hempstead, Studham, Southampton, St. Heliers, Gorey, First Tower, a Haverdepau, wedi eu tynu o'r gynnadledd hon, yn ol penderfyniad y Gymmanfa Gyffredinol Neillduol yn Liverpool ar y 5med o Ionawr.—Gwel STAR, Rhif. 2, Cyf. XII. ‡ Ychwanegwyd at y gynnadledd hon, oddiar Ionawr, ddeuddeg o gangenau, gynt yn ffurfio rhan o'r eglwys Gymreig.—Gwel nodyn mynegiad Cymru. § Mae hon yn cynnwys diweddar Gynnadledd Macclesfield.—Gwel Hanes y Gymmanfa Gyffredinol Neillduol, yn y STAR, Rhif. 2, Cyf. XII. ‖ Gynt o Gynnadledd Llundain.—Gwel nodyn mynegiad Llundain. ¶ Cymmerwyd o'r eglwys Gymreig, oddiar Ionawr, ddeuddeg o gangenau, yn cynnwys oddeutu 450 o aelodau, a chyflwynwyd hwynt i Gynnadledd sir Henffordd, yn unol â phenderfyniad y Gymmanfa Gyffredinol Neillduol, yn Ionawr 5.—Gwel yr Hanes, STAR, Rhif. 2, Cyf. XII. ☞ Dim hanes o Preston er Ionawr. ** Mae y gynnadledd hon yn cynnwys cangenau St. Heliers, Gorey, First Tower, a Haverdepau, wedi eu tynu o Llundain.—Gwel nodyn mynegiad Llundain,

ENWAU Y LLYWYDDION.—William Booth, Cheltenham; William Gibson, Manchester; John Spiers, Bedfordshire; Glaud Rodger, Liverpool; Alfred Cordon, Warwickshire; John Lyon, Worcestershire; John Kelly, Isle of Man; J. Clements, Glasgow; Thomas Smith, Norwich; William Speakman, Newcastle-on-Tyne; Lorin Babbitt, Lincolnshire; Thos. Margetts, London; C. H. Wheelock, Herefordshire; J. D. Ross, Staffordshire; Lewis Robbins, Derbyshire; etto, Leicestershire; James M'Naughtan, Hull; Geo. Halliday, South Conference; J. W. Cummings, Sheffield; James Marsden, Bradford; C. Dunn, Edinburgh; William Moss, Clitheroe; T. B. H. Stenhouse, Southampton; John Kelly, Galloway Union; Wm. Phillips, Cymru; J. H. Flanigan, Birmingham; G. D. Watt, Preston; W. C. Dunbar, Channel Islands.

## COEL-GREFYDDAU.

DYMUNA llawer weled coel-grefyddau y byd yn myned i ddiddymdra, heb ystyried pa beth yw coel-grefydd. Gall dyn gredu fod Duw, a bod ei air yn wirionedd; gall gredu fod Iesu yn Fab Duw, a bod yn ddyledswydd arnom ninnau i nesâu mewn gweddi gerbron Duw yn enw ei Fab;—ïe, gellir cyflawni y gorchwyl hwnw hefyd, ac etto heb fod genym ddim yn amgen na choel-grefydd. Nid oes achos bod mewn ammheuaeth gan bwy y mae coel-grefydd, ond edrych pwy sydd yn crefydda ar grediniaeth yn unig, heb un wybodaeth ganddynt, yna gwelwn gan bwy, a pha le y mae coel grefydd; oblegid, pa le bynag y mae cred, y mae yno goel; a pha le bynag y mae crefydd wedi ei sefydlu ar gred, yno y mae coel-grefydd. Er y dywed llawer nad yw eu crefydd hwy wedi ei sefydlu ar goel, ond ar y Testament Newydd, etto onid credu y maent fod y Testament Newydd yn wirionedd? O, ïe, gŵyr pawb hyny. Wel, ynte, dyna grefydd wedi ei sefydlu ar gred neu goel; ac felly, y mae ei chofleidwyr, fel yr Atheniaid gynt, yn goel-grefyddwyr. Ac felly y mae y rhai hyny sydd â'u holl grefydd ar gred yn unig, yn annoeth iawn pan y bloeddiant yn eu gweddiau, gan ddweyd, "O, Arglwydd, pâr fod holl goel-grefyddau y byd yn myned i ddiddymdra," os na fyddant wedi cael digon ar eu crefydd eu hunain. Ond meddyliaf fod llawer o'r cyfryw yn gweddio hyny yn gydwybodol, a bod Duw i raddau yn gwrandaw eu gweddiau, trwy anfon ei weision awdurdodol i'r maes ag efengyl er tystiolaeth—trwy fod deiliaid y grefydd goel yn ufyddhau iddynt wrth y miloedd trwy y byd o'r bron, a thrwy fod y cyfryw yn derbyn tystiolaeth o fodoldeb Duw, anghyfnewidioldeb ei air, a'u cymmeradwyaeth eu hunain ger ei fron.

*Tre Sior.* T. H.

---

## GOFYNIADAU AC ATEBION.

1. A ydyw yn ddoethineb i offeiriad neu henuriad, pan yn pregethu o flaen rhywun arall, i dreulio cymmaint ag awr neu awr a chwarter o amser?—*H. E.*

Na, ychydig o ddoethineb a ddangosir gan rai felly. Mae pregeth o'r hyd hyny, os na fydd ar amgylchiad neillduol, yn ormod o gyfarfod braidd ei hunan. Os oes yn rhaid i ddau

bregethu bob cyfarfod, gwell i'r cyntaf barotoi pobl barod i'r ail, ac yna gwnaed yntau ei oreu i'w hargyhoeddi. Ond nid ydym ni mor seremoniol â thybied fod yn rhaid cael dwy, a dim ond dwy bregeth, yn mhob cyfarfod; canys ar lawer amgylchiad mae un yn well.

2. Pe byddwn i yn clywed rhyw athrawiaeth yn cael ei dysgu, ag a fyddai yn ymddangos i mi yn gau, a fyddai yn drosedd ynof i ddweyd wrth ryw rai ereill yn ei chylch?—*B. E.*

Atebwn fel hyn: Pan fyddo brawd neu chwaer yn clywed rhywbeth dyeithr yn cael ei ddysgu, a hwythau yn methu cydweled, mae yn ddyledswydd arnynt, nid yn drosedd, i ymholi ag awdurdodau uwch ynghylch y cyfryw ddysgeidiaeth, er cael allan y gwirionedd; ond peidio un amser ag ymholi â neb arall, rhag iddynt gael eu harwain ar gyfeiliorn. Os yw y ffrwd yn ymddangos yn frwnt, gwell yw chwilio am yr achos, trwy fyned yn mlaen tuag at y ffynnonell. Ni ddylai neb gymmeryd eu cylch-arwain, tra byddo apostolion a bugeiliaid yn yr eglwys.

3. Os yw bedydd yn wir anghenrheidiol er myned i mewn i'r bywyd, paham y dywedodd Crist wrth y gwr ieuanc hwnw ag oedd wedi cadw yr holl orchymynion o'i ieuenctyd, "Os ewyllysi fod yn berffaith, dos, gwerth yr hyn sydd genyt, a dyro i'r tylodion; a thi a gei drysor yn y nef: a thyred, canlyn fi" (gwel Math. xix, 16—22,) yn lle dweyd wrtho am gymmeryd ei fedyddio?—*T. J.*

Yr oedd y gwr ieuanc yn "berchen da lawer;" ac o achos hyny yr oedd yn haws i gamel fyned trwy grai y nodwydd ddur, nag i un felly fyned i mewn i deyrnas Dduw, â'i gyfoeth ar ei gefn. Yr oedd cadw y gorchymynion yn dda, ond yr oedd cadw y cyfoeth yn ddrwg. Dywedai yr apostolion, "Wele, nyni a adawsom *bob peth*, ac a'th *ganlynasom* di: beth gan hyny a fydd i ni?" Yr Iesu a'u hatebodd, "Yn wir, meddaf i chwi, y cewch chwi y rhai a'm canlynasoch i, yn yr *adenedigaeth*, pan eisteddo Mab y dyn ar orsedd ei ogoniant, eistedd chwithau ar ddeuddeg gorsedd, yn barnu deuddeg llwyth Israel." Barnai Crist nad oedd eisieu sôn am fedydd wrth y cyfoethog, cyn sôn wrtho am ymwadu ag ef ei hun, cyfodi ei groes, a'i ganlyn Ef. Ymwadodd yr apostolion â phob peth, ac wedi hyny *canlynasant* ef yn yr ADENEDIGAEH, sef bedydd; a phe buasai y mab ieuanc yn

canlyn Crist, mae yn ddiau y cymmerasai ef ei fedyddio fel Crist a'r apostolion. Gwyddai Crist mai nid y bedydd, ond y cyfoeth, oedd y rhwystr iddo i gael "trysor yn y nef;" ac am hyny, ni soniodd am ddim wrtho ond y rhwystr. Pe buasai efe yn peidio myned i ffordd yn drist, eithr gwerthu ei eiddo, cawsai wybod fod " canlyn fi" yn cynnwys bedydd mewn dwfr, ac amryw bethau ereill.

4. Gan y dywedir mai gwir yw fod Joseph Smith yn dwyllwr, ac mai ei unig ddyben oedd tynu arian oddiar bobl, chwennychwn wybod pa faint o waddol a gafwyd ar ei ol?—*Ifan.*

Ateb; lle na fyddo gwaddol i gael, nid oes dim mwstwr o'i phlegid. Pe buasai Joseph yn ddyn drwg cyfoethog, cawsai ddigon o chwarae teg; ond gan na feddai un trysor yn amgenach nag oedd yn ei lestr pridd, cafodd ei ddiwedd megys y dynion da a thlawd o'i flaen.

---

## SECTARIAETH MEWN ANGLADD.

*Ystradgynlais*, Gorph. 13, 1850.

Anwyl Frawd Davis,—Yr wyf yn ysgrifenu atoch, gan hysbysu i chwi yr hyn a ddygwyddodd yn Heol y Pelican, yn mhentref Ystradgynlais, ar ddydd Iau, yr 11eg o'r mis hwn. Yr oedd dyn ieuanc o'r enw Phillip Phillip, yr hwn sydd yn aelod gyda'r Saint, ac mewn amgylchiad galarus o herwydd marwolaeth ei fam, wedi dymuno arnaf i bregethu yn ei hangladd. Dywedais wrtho fy mod yn eithaf boddlawn i wneyd hyny, os cawswn lonydd gan y bobl, y rhai oedd yn bwgwth fy llabyddio os deuwn yn agos i'r lle. Cyhoeddasant yn yr wythnos fod Mr. P. Griffiths, Alltwen, i bregethu yno hefyd. Boddlonodd P. Phillip i'w chwiorydd gael hyn, ar yr ammod o fod i mi gael pregethu gydag ef. Aethum i fyny gyda'r Henuriad D. J. Jones i'r tŷ lle yr oedd y corff marw yn aros. Yr oedd o amgylch i'r tŷ o gant a hanner i ddau cant o bobl, y rhai oeddynt Independiaid a Methodistiaid. Aethum i'r tŷ yn barchus, gan dynu fy het; ond cyn i mi gael amser i eistedd i lawr, cyfododd chwaer P. Phillip, a merch yr hon ag oedd wedi marw, i fyny, a gorchymynodd i mi fyned allan o'r tŷ, gan ymaflyd ynof, a dweyd dan regu nad oedd fy eisieu i yno. Y pryd hyn cynhyrfodd y bobl oll, gan gyfodi terfysg i fyny, ac yr oeddynt yn barod i'm llabyddio a thywallt fy

ngwaed. Y prif bersonau yn yr erlidigaeth hon oedd pedwar o aelodau yr Independiaid, ac un Methodistyn. Llusgasant fi allan o'r tŷ. Yna gofynais iddynt os oedd ganddynt barch i Iesu Grist a'r efengyl; ac atebasant, nad oeddynt yn ymofyn Iesu Grist, na'm pregeth innau, ond Mr. Griffiths yn unig. Dywedais innau nad oeddwn yn ymofyn pregethu, os buasai Mr. Griffiths yn anfoddlawn. Dywedodd y parchedig, os buasai efe yn pregethu, na fuasai neb yn cael gwneyd hyny gydag ef. Pan ddaeth hyn allan o'i enau, gwaeddodd y bobl, "Well done, Mr. Griffiths." Danfonasant tua ffwrneisi Ynyscedwyn i gyrchu ymladdwr i'w hamddiffyn, ac i ddyfetha y Saint; ond ni ddaeth mewn pryd i'r terfysg. Cerddais yn foneddigaidd gydag amryw o'r henuriaid a'r Saint, yn yr angladd, tua Sardis, canys dyna enw capel yr Independiaid yn y lle. Pregethodd y parchedig yno oddiar Luc x, 42; a dywedodd, yn nghwrs ei bregeth, i gannoedd o'r Iuddewon gredu wrth weled Lazarus yn cael ei adgyfodi, ac nad oedd yn rhesymol i neb gredu, oddieithr eu bod yn *gweled* y peth. Yn awr, dyna ychydig o hanes cristianogaeth yn Ystradgynlais, a gwnewch o hono y defnydd a ewyllysioch.

Yr eiddoch yn ostyngedig,

EVAN WILLIAMS, *Skiwen*.

[Yr oedd y parchedig i'w ganmawl am beidio pregethu gyda'r Sant; mae yn well i dywyllwch fod ar ben ei hun, na sefyll yn ochr y goleuni. Ac am y teryg, nid oedd dim yn gweddu duwiolion sectaraidd yn well, canys â cheryg y darfu i'w brodyr labyddio Stephan gynt. Mynai y parchedig i ffydd ddyfod trwy weled, yn lle trwy glywed; ond cenedlaeth ddrwg sydd yn *ceisio* arwydd, a cenedlaeth dda yn unig sydd yn ei *chael*. "Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys Ef," meddai Iesu Grist, "efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth;" neu, mewn geiriau ereill, efe a gaiff arwydd o'r gwirionedd.—GOL.]

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### CYNNADLEDD DDWYREINIOL MORGANWG.

CYNNALIWYD y gymmanfa uchod yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr, ar y 7fed o Orphenaf. Yr oedd yn bresennol y Llywydd W. Phillips, Dr. Levi Richards, Capt. C. H. Wheelock, yr Hend. J. Davis, T. Pugh, W. Henshaw, T. Giles, E. Edwards, ac amrywiol ereill. Wedi agor y cyfarfod boreuol, cododd y Llyw-

ydd i annog y Saint i fod yn ufydd i'r offeiriadaeth oruchel sydd yn eu plith, a dysgodd y swyddogion i fod yn ddarostyngedig i'w gilydd, yn ol eu cylchoedd. Dangosodd hefyd y ddyledswydd o ufyddhau i'r hyn a ddywedo gwr Duw, yn yr oes hon, yn gystal ag yn yr oesoedd gynt; canys nid fel y sectariaid y mae efe yn llefaru, eithr "fel hyn y dywed yr Arglwydd." Yna darllenwyd y cynnrychioliad fel y canlyn:—23 o gangenau, 2 o archoffeiriaid, 147 o henuriaid, 98 o offeiriaid, 112 o athrawon, 57 o ddiaconiaid, 158 wedi eu bedyddio, 46 wedi eu tori allan, 3 wedi marw; y cyfanswm, 2186. Yna wedi cymmeradwyo dal i fyny holl awdurdodau yr eglwys, galwyd ar y brawd Henshaw i anerch y Saint, yr hyn a wnaeth yn drefnus a byr. Canlynwyd ef gan y brawd Wheelock, yr hwn sydd yn ymdebygoli yn fawr mewn llawer o bethau i Capt. Jones. Dywedodd ei fod yn gwybod fod yr un Ysbryd yn gorphwys ar y Saint oedd ger ei fron, ag oedd efe wedi deimlo ar fynyddoedd Israel, yr hwn Ysbryd sydd yn darostwng pob ysbryd gau. Yr oedd yr holl erlidigaethau yn myned o'i gof, pan fyddai nerthoedd y byd a ddaw yn gorphwys arno; a dywedai, wrth ddiweddu, fod gwynebpryd siriol y Saint yn profi i bob dyn gonest eu bod yn greaduriaid newydd yn Nghrist. Yna y brawd Pugh, yn ei hyawdledd arferol, a anerchodd y dorf yn fyr, ac a ddywedodd na ddaeth i'w feddwl ef erioed y buasai yn profi y fath hyfrydwch ar y ddaear ag a deimlodd yn y gymmanfa hon.—Yn y prydnawn, wedi i'r llywydd anerch y cantorion, galwodd ar Dr. Levi Richards, yr hwn a anerchodd y dorf mewn modd hyawdl. Dywedodd mai y *life preserver* goreu ar y daith i Seion, yw ein bod yn cadw yr holl orchymynion y mae Duw yn ddadguddio trwy ei weision. Dywedodd hefyd nad oedd digon o oleuni yn y byd i ddangos y tywyllwch, cyn i'r angel ddyfod at Joseph Smith â'r efengyl dragywyddol, yr hon sydd yn dwyn bywyd ac anllygredigaeth i oleuni; er hyny, yr oedd ambell un o synwyr cryf cyn hyny, megys Lord Byron, ag a ddywedai mai chwareuyddiaeth plant oedd holl grefyddau y byd. Yna wedi i'r brawd Pugh anerch y dorf yn Gymraeg am ychydig, galwyd ar y brawd Wheelock, yr hwn a ddangosodd pa fodd y cafodd Jacob ei fendithio, a'r modd yr aeth i wlad bell, a'r addewidion gwell a gafodd ar y ffordd. Dywedodd os byddai dyn yn cadw gorchymynion Duw, y gallai ymdrechu ag ef fel Jacob, er y gallai gyfarfod â llawer o orthrymderau wedi y cwbl. Annogodd y Saint i

fod yn haelionus, ac i gofio am addewidion Duw, yr hwn a rodda yn ol ar ei ganfed.—Yna dangosodd y llywydd ddyledswydd y Saint i ymdrechu gwerthu llyfrau Capt. Jones ac ereill.—Yn yr hwyr, didolodd y Saeson i'r Georgetown, lle y pregethodd y brodyr Henshaw, Wheelock, a Richards yn effeithiol, ynghylch amrywiol egwyddorion; tra yn mhlith y Cymry areithiodd y brodyr E. Edwards, T. Giles, T. Pugh, a'r Llywydd Phillips, yn dra phwrpasol.—Prydnawn dranoeth, ymgynnullodd oddeutu 1300 i yfed tê yn Neuadd y Cymreigyddion, yr hon oedd wedi ei thrwsio yn ogoneddus â gwyrdd-ddail a blodau; a rhwng y canu hyfryd, a phob peth arall a gafwyd yno, tueddid dyn i gredu ei fod yn Seion. Cyn ymadael, areithiodd y brodyr Richards, Phillips, Wheelock, Davis, Pugh, a Henshaw, ar amrywiol destunau, a chafwyd dysgeidiaeth a llawenydd anarferol. Canodd y brawd Wheelock hefyd yn lled gampus, ynghyd â'r cantorion.—Wm. Phillips, llywydd; Henry Evans, ysgrifenydd.

### SIR FYNWY.

Cynnaliwyd cymmanfa chwarterol y gynnadledd hon, yn y Town-hall, Tredegar, ar y 14eg o Orphenaf. Cynnrychiolwyd 14 o gangenau, yn cynnwys 63 o henuriaid, 32 o offeiriaid, 31 o athrawon, a 18 o ddiaconiaid; 42 wedi eu bedyddio yn ystod y tri mis diweddaf; bu farw, 3; torwyd allan, 19; cyfanswm, 598. Rheoleiddiwyd cangen yn Sirhowy a Thwyn y Duke. Yr oedd y cyfarfodydd yn orlawn o Saint a gwrandawwyr, ac yn fywiog gan Ysbryd Duw. Am ddau, ymwelodd y Llywydd Phillips a'i Gynghorydd Davis â ni, a chawsom addysgiadau grymus a nerthol ganddynt yn Saesneg a Chymraeg; ac am chwech, cyrhaeddodd y Llywydd Henshaw, Casnewydd, yno; a thrwy y cyfan, cawsom lawer o lawenydd trwy ddylanwadau Ysbryd Duw. Dranoeth, cynnaliwyd gwyl dê yn Mhenycae, lle y traddodwyd areithiau ar yr achlysur gan y brawd Phillips ac ereill.—Thomas Giles, llywydd; David Jones, ysgrifenydd.

### SIR DDINBYCH.

Cynnaliwyd cymmanfa cynnadledd swydd Ddinbych, yn Abergele, ar y 9fed o Fehefin, yn mha un yr oedd y brodyr Thomas Pugh, Eliezar Edwards, ac amryw henuriaid o wahanol leoedd, yn bresennol. Penderfynwyd cynnal i fyny holl awdurdodau yr eglwys dros y ddaear, yn neillduol yn Nghymru. Penderfynwyd

fod y brawd John Parry i roi llywyddiaeth cangen Abergele i fyny, i'r dyben o fod yn fwy rhydd i drafaelu trwy y gynnadledd, a bod Edward Parry i lywyddu yn ei le. Penderfynwyd fod y brawd William Parry i fod yn gynghorwr yn y gynnadledd. Cafwyd cyfarfodydd hynod o ddifyrus ar hyd y dydd.—John Parry, llywydd; William Parry, ysgrifenydd.

### SIR GAERFYRDDIN.

Cymmanfa y gynnadledd hon a gynnaliwyd yn Nghaerfyrddin, ar y 14eg o Orphenaf, pryd y cynnrychiolwyd 17 o gangenau, yn cynnwys 76 o henuriaid, 30 o offeiriaid, 24 o athrawon, a 18 o ddiaconiaid; bedyddiwyd, 30; torwyd allan, 17; bu farw, 2; cyfanswm, 645. Penderfynwyd fod cangen i gael ei sefydlu yn Llangadog, a bod y brawd John Evans i lywyddu arni, lle mae yn bresennol ddau henuriad, a 12 o Saint. Cafwyd llawer o ddysgeidiaeth gan y Llywydd H. Williams, a'r brodyr Dr. Levi Richards, Thoms Pugh, E. Williams, Abertawy, &c. Penderfynwyd hefyd fod y brawd Benjamin Jones o hyn allan i fod yn henuriad teithiol trwy y Sir hon. Cafwyd areithiau gwresog a doeth trwy'r holl gymmanfa, a dysgeidiaeth effeithiol er cadarnhad a chymhorth i'r holl swyddwyr, yn enwedig yn y cynghor boreu dydd Llun. Etto, prydnawn dydd Llun cafwyd *Tea Party* rhagorol, â'r holl Saint yn llawen ac wrth eu bodd. Terfynwyd y gymmanfa trwy gael dwy bregeth gan y brawd Pugh yn Gymraeg, a'r brawd Dr. L. Richards yn Saesneg i glywedigaeth llawer o wrandawwyr; a bendith y nefoedd fyddo yn canlyn yr hyn a fu dan eu sylw.—Howell Williams, llywydd; Isaac Jones, ysgrifenydd.

### SIR FON.

Cynnaliwyd y gymmanfa hon, yn Nghaernarfon, ar y 14eg o Orphenaf, pan y cynnrychiolwyd pedair o gangenau, yn cynnwys 10 henuriad, 8 offeiriad, 2 athraw, a dau ddiacon; bedyddiwyd, 15; cyfanswm, 83. Cawsom gymmanfa dda rhagorol, ac ond barnu ar sirioldeb y gynnulleidfa, gallem gasglu eu bod oll yn cael eu boddloni. Yr oedd y brawd Wm. Evans, o sir Feirionydd, ynghyd â brodyr ereill, wedi ymweled a'n cymmanfa.—Hyderwn y bydd i Dduw goroni ein llafur yn yr amser dyfodol â llwyddiant mawr, er gogoniant i'w enw santaidd, a llesâd dynion. —Thomas Morgan, llywydd; Wm. Isaac, ysgrifenydd.

## AMRYWIAETHAU.

GORPHENAF.—Hwn yw y mis twymnaf o'r flwyddyn: mae cyfartaledd cyffredin y tymheredd yn 61 o raddau. Gyda ni gellir ystyried y mis hwn y mwyaf ei bwys, gan mae ei dymheredd i raddau helaeth sydd yn rheoleiddio addfediad y cnydiau, hyny yw, penderfyna pa un a fyddant yn gynnar neu ddiweddar; ac yn ein hinsawdd ni hyn yn fwyaf neillduol sydd yn barnu eu gwerth. Mae Fflora yn ei gogoniant y mis hwn. Yr ymdangosiad mwyaf o flodau yn yr holl flwyddyn a gymmer le yn Ngorphenaf yn yr hinsawdd hwn. Ar yr un pryd y mae ein mânffrwythau yn eu cyflawnder,—ceiros a syfi yn y dechreu, ac yn cael eu dilyn gan gwrenau, mair-eirin, ac afan, yn eu holl amrywiaethau. Yn nechreu y mis y mae barlys a cheirch yn dangos eu tywyseni; ac mewn tymmorau da y mae peth barlys yn cael ei dori weithiau cyn diwedd Gorphenaf; ond lled anfynych y mae un llafur arall yn barod i'r cryman cyn Awst. Mae rhan fawr o ffrwyth y gerddi yn dyfod i berffeithrwydd, megys bresych cynnar, erfin, pys, ffa, golaith, &c. Cloron cynnar hefyd a wnant eu hymddangosiad, ond nid ydynt yn addfed cyn y mis nesaf.

TROI Y GERN ARALL.—Gwyddom am un a wnaeth hyn. Wedi cael ergyd ar un gern, trodd y gern arall; ac wedi i hono ddyoddef hefyd, yna meddyliodd ei fod yn rhydd i daro yn ol, yr hyn a wnaeth trwy droedio ei elyn yn ei fola!

BWA'R CYFAMMOD.—Dywedai Joseph Smith pan yn fyw, nad oedd achos i neb ofni newyn cyffredinol tra y gwelsent yr enfys yn y cymylau. Yr oedd hyny yn arwydd sicr o amser hau a medi; ond, a ychwanegai efe, pan fyddo y bwa yn diflanu, neu pan na fyddo i'w weled, edrychwch am newyn a chaledi. Pwy a welodd y bwa yn 1850? Ni welsom ni; etto chwennychem ei weled. Ond na laesed un ffermwr ei ddwylaw wrth hau, er fod cymylau, rhew, oerni, a sychder yn taflu eu caddug dros eich dysgwyliadau presennol. Gwnewch eich dyledswydd, ac ymddiriedwch mewn Rhagluniaeth ddoeth a thrugarog i fendithio eich llafur.—*Frontier Guardian, Mai* 15.—[Yr ydym ni wedi gweled y bwa eleni etto, nad pwy sydd heb ei weled, a diolch am hyny.]

GWYBODAETH yn fuan a drôa yn ffolineb, pan beidia synwyr da a bod yn warcheidwad iddo.

SEGURYD.—Seguryd yw croth neu ffynnonell pob drygioni; canys y mae yn difa ac yn gwastraffu y golud a'r rhinweddau sydd genym eisoes, ac yn ein hanalluogi i gael y rhai ag ydym yn amddifad o honynt.

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 20.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI, (SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. II.] AWST, 1850. [PRIS $2\frac{1}{2}$g.

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1850.

Y DRYSORFA YMFUDOL.—Cofied llywyddion a thrysorwyr cynnadleddau, (a'r cangenau yn y gynnadledd hon,) anfon y trysorfeydd mewn llaw, yma i'r Llywydd Phillips wythnos o flaen yr amser a noda Orson Pratt yn ei Epistol, fel y gellir eu danfon yn brydlawn i Liverpool. Danfoner enwau yr holl gyfranwyr yr un pryd, gan nodi y gangen a'r gynnadledd y perthynont, a hyny mewn ysgrifen eglur a threfnus. Bydded y taloedd nesaf i fod yma erbyn y 23ain o Fedi.

CYMMANFA MANCHESTER.—Cynnelir Cymmanfa Gyffredinol Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, yn Manchester, ar ddydd Sadwrn a dydd Sul, y 5med a'r 6fed o Hydref, i ddechreu am ddeg yn y boreu. Dysgwylir y bydd i'r Apostolion sydd ar y Cyfandir fod yn bresennol.

☞ Mae dau neu dri o lythyron gan yr Apostol John Taylor wedi cael ymddangos yn y papyr Seisnig a Ffrengig, a elwir "Interpreter" yn Boulogne, a hyny yn y ddwy iaith. Yr oedd hyny yn ddechreuad da. Gosod allan yr egwyddorion cyntaf a wnelai efe yn y llythyron hyn; a diau y byddant o les mawr.

☞ Yr ydym newydd dderbyn y "Frontier Guardian" am Gorphenaf y 10fed, ond nid yw yn cynnwys dim neillduol i'r Cymry ei glywed. Hysbysa fod y llythyr-gludiad o'r Dyffryn wedi eu cyrhaedd, a dyweda yr ymddengys y gohebiaethau yn y nesaf. Dysgwyliasom weled hanes y Gymmanfa yn y Dyffryn, ond yn ofer; eithr fe'n cyrhaedda cyn yr UDGORN nesaf, ynghyd â llythyron efallai oddiwrth Capt. D. Jones.

TALIADAU.—Yr oedd yn ofidus genym, tra yn Liverpool y mis hwn, nad allem wneyd ein cyfrif â'r swyddfa yno, o herwydd diffyg ymdrech yn rhai o'n dosparthwyr. Gwyr pawb mai eu hymrwymiad, yn gystal â'u dyledswydd, yw ein clirio bob chwarter. Mae digon o brofion i'w cael mai nid yn y Saint, ond yn eu blaenoriaid, y mae'r diffyg hwn. Y fath wahaniaeth sydd weithiau mewn newidiad llywydd neu ddosparthwr; tal un y cwbl, a thal y llall ddim. Erfyniwn weled ein holl ddyledion i mewn yn ddioed, fel y gallom roddi ein cyfrif yn llawen.

⁂ YMFUDA y cwmni Cymreig cyntaf oddeutu y 1af o Hydref.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 20.] AWST, 1850. [CYF. II.

## TRYDYDD EPISTOL CYFFREDINOL PRIF LYWYDDIAETH EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, O DDYFFRYN Y LLYN HALEN FAWR, AT Y SAINT GWASGAREDIG AR HYD Y DDAEAR, —YN ANERCH:—

ANWYLAIDD FRODYR,—Pan y myfyriom am eich sefyllfaoedd amrywiog, mewn cyssylltiad â'r gwaith mawr ag yr ydych wedi ymroddi eich hunain iddo, y mae yn un o ffynnonellau mwyaf ein hyfrydwch i'r amser ddyfod pan y gallwn drosglwyddo i chwi trwy lythyr, yr hyn a fynegai ein tafod, pe buasech gyda ni; ac os bydd i chwithau trwy fod yn llawn o'r un ysbryd, gael mwynhau cymmaint trwy ddarllen ag a wnawn ni wrth ysgrifenu, ystyriwn na fydd ein llafur wedi bod yn ofer; o herwydd trwy hyny meddiannem y sicrwydd o fod cariad brawdol, a theimlad caruaidd, y rhai sydd yn anghenrheidiol er heddwch a llwyddiant yr eglwys, yn sicr a disigl, ac ar eu cynnydd yn mhlith y rhai hyny sydd yn proffesu caru Iesu Grist.

Yr ydym yma yn y mynyddoedd, wedi ein symud yn mhell oddiwrth chwyldroadau a newyddion dyddiol y cenedloedd, ac nid ydym wedi clywed dim oddiwrthynt; nac oddiwrth ein brodyr sydd yn trigianu yn mhell, oddiar fis Medi: ond, er ein bod wedi ein gwahanu oddiwrth ein perthynasau yn hiliogaeth Adda, ac yn ymddibynu y rhan fwyaf o'n hamser, ar ein ffynnonellau ein hunain am addysg a mwynhad, meddwn y dyddan-

wch hyfryd ein bod wedi ymsefydlu yn agos "i benau y bryniau tragywyddol," a'n bod yn uwch ar y mynyddoedd nag un bobl arall; o ganlyniad yr ydym yn agosach i'r nefoedd, y gororau hyny o oleuni a gogoniant lle y derbyniwn ni wybodaeth, a lle mae pob bendithion yn dylifo.

Y mae llwyddiant Israel gwasgaredig yn agos at ein calonau: dyna ydyw ein testun nos a dydd; mewn myfyrdod, mewn cynghor, mewn gweddi, mewn gweithrediad; nid ydym gartref mewn un man, ond pan fyddom wrth y gwaith o adeiladu teyrnas Dduw; ac y mae yn un o ffynnonau ein gorfoledd i gael bod yn weision i'r Saint, ac yr ydym yn barhaus yn chwilio y cyfleusdra cyntaf i hysbysu sefyllfa ein brodyr yn y dyffryn, ac i wasgaru y goleuni, o'r hwn y mae ein Tad nefol wedi gweled yn dda i ni gael bod yn dderbynwyr, fel y byddo i ni oll gael ein hadeiladu a'n meithrin i fyny ynghyd yn ngwybodaeth Duw, a chael ein parotoi i ogoniant nefol.

Cyrhaeddodd rhai ymfudwyr o Michigan y lle hwn ar y 15fed o Dachwedd, yn nghwmpeini Mr. Vasques, gan ddwyn llythyron oddiwrth yr henuriaid ag oedd y pryd hwnw yn myned i'r dwyrain, y rhai oeddynt yn Little Sandy, Hydref 30, oll yn iach: ac ar yr 22ain o'r un mis yr oedd eira wedi gorchuddio y Dyffryn o droedfedd a hanner i ddwy o drwch; ac ar y 24ain, yr oedd oddeutu tair troedfedd a hanner o drwch yn Mill Creek Kanyon; ac ar yr un dydd, gadawodd yr Henuriad Parley P. Pratt, gyda chwmpeini ynghylch hanner cant o wyr, sefydliad mwyaf deheuol y Dyffryn hwn, lle yr oeddynt wedi ymgynnull y dydd blaenorol, i'r dyben o chwilio y wlad ddeheuol, i gael allan ei daearyddiaeth, hanes, hinsawdd, a'i lleoedd at ymsefydlu.

Cyrhaeddodd pedwar ar bymtheg o ymfudwyr ar y 1af o Ragfyr, mewn cyflwr cryn amddifad, wedi gadael eu wageni dros ddeugain milltir ar ol, a'u hychain oddeutu ugain; a hwy eu hunain heb luniaeth. Dywedent eu bod wedi gadael y Taleithiau ar y 24ain o Fedi, ac wedi passio cwmpeini yr Henuriad Taylor wrth Independence Rock, ar y 6fed o Dachwedd; ond yr oeddynt yn cael eu herlyn mor galed gan yr eira, fel na ddaethant ag un newyddiadur i ni, er y dywedent fod amryw ganddynt yn eu wageni.

Danfonwyd cenad gan Captain Stansbury, perthynol i Beirianwyr Topographaidd yr Unol Daleithiau, sefydledig yn y lle

hwn, i Fort Hall, rywbryd yn Rhagfyr; ond mor ddwfn oedd yr eira, fel y gorfu ddychwelyd, heb gyflawni ei amcan; ac yr oedd busnes yn gyffredin yn y Dyffryn wedi sefyll, er i ychydig o ddyddiau nawseiddiach tua'r diwedd, ganiatâu i godi cwplau y cynghor-dŷ, y rhai oeddynt wedi eu parotoi yn y Bowery, yr hwn oedd yn siop waith fawr yn ystod y tywydd oer.

Ar y 5med o Ionawr, danfonodd Captain Stansbury ail genad i Fort Hall, yr hwn a gyflawnodd ei amcan, ac a ddychwelodd ar ol taith flinderus, ynghyd â thal-feistr a rhai swyddogion ereill o fyddin yr U. D. o Fort Hall, y rhai a hysbysent nad oedd ond ychydig eira yn nghymmydogaeth y Fort, ond fod cyflawnder mawr ar y ffordd; a bod rhan fawr o anifeiliaid y Llywodraeth, yn Cache Valley, wedi trengu oblegid gerwinder y tywydd a'r eira, yr hwn a ddisgynai yn y dyffryn hwn o ddeg modfedd i ddwy droedfedd o drwch, ar y 18fed a'r 19eg, ac yn rhai o'r Kanyons cyfagos, o chwech i wyth troedfedd o drwch. Ar foreu y 24ain o'r un mis, ysgubodd gwynt dychrynllyd dros ein Dyffryn ni o'r deau, a pharhaodd oddeutu pedair awr ar hugain, gan yru yr holl anifeiliaid o'i flaen; ac yr oedd yr eira mor drwchus ac ysgafn, fel ag yr oedd yn ddarostyngedig i'w ddylanwad, gan dreiddio y dillad mwyaf trwchus, achosi i ddynion lochesu yn y tai, ac anifeiliaid i ymgasglu mewn ceudodau, a than glogwyni, lle, mewn rhai amgylchiadau, y claddwyd, y mogwyd, ac y rhewyd hwynt yn bentyrau.

Trwy fod yr eira wedi dechreu ychydig yn gynnarach nag arferol, cafodd y brodyr agos yn amddifad o goed; ac ynghylch yr amser a nodwyd ddiweddaf, cyhoeddwyd yn y ddinas fod pymtheg o *sleighs* wedi eu claddu yn yr eira, yn Dry Kanyon; ond yn y prydnawn daeth y dynion a'u gweddeuau i'r ddinas yn ddiogel oll. Y ffeithiau oeddynt, ddarfod i'r brodyr basio y Kanyon yn y boreu, ac wrth lwytho eu certi llusg ar ochr y mynydd, daeth cwympiad neu lithrfa o eira ar draws eu llwybr, ac a lanwodd y Kanyon, oddeutu hanner cant neu drugain troedfedd o ddyfnder, a rhwystrodd eu mynediad; ond trwy adael y coed, a gwneyd mynedfa dros ochr y mynydd, cafodd y gyrwyr a'u gweddeuau oll eu hachub. Crybwyllwn am hyn megys un o'r pleserau, anghyfleusderau, neu y dygwyddiadau ag y mae y Saint yn y mynyddau yn agored i'w profi, pan na fyddont wedi parotoi eu coed gauaf yn yr haf; ac y mae'r eira wedi bod o

chwech i ugain troedfedd o ddyfnder yn ein Kanyons ran fawr o'r gauaf sydd wedi myned heibio.

Ar y 30ain o Ionawr, cyrhaeddodd pedwar dyn yma o Fort Bridger, wedi gadael eu nwyddau a'r gweddill o'u hanifeiliaid teithiol yn Weber Kanyon, canys yr oedd cyfran o'u cyffylau wedi trengu ar y ffordd cyn cyrhaedd y Kanyon. Dyma yr ail gynnyg a wnaeth yr un cwmpeini i fyned o'r Fort i'r Dyffryn, ac yr oedd eu nwyddau yn aros yn y Kanyon ar y 30ain o Fawrth.

Yn ystod y tymmor sydd wedi myned heibio, mae y tywydd gauafol wedi bod yn hirach o bedair i bum wythnos, na'r tymmor blaenorol, a mwy o eira, ond ddim mor enbyd o oer; ac y mae yr olwg sydd am ŷd yn dda. Credir yn gyffredin fod cymmaint o wenith da a golygus ar y llawr yn awr, ag a dyfodd yma y flwyddyn ddiweddaf: ac mae cyflawnder mawr o wenith California a Tous yn barod at hau. Y mae hefyd gyflawnder mawr o farlys California, defnydd gwerthfawr, a llawer o hadau dewisol ereill, y rhai a wnant les mawr i amaethyddiaeth yn y tymmor presennol: ac ni fydd un ymdrech yn eisieu o du y brodyr yma, i godi ymborth i'r rhai hyny a ddaw i'r cynauaf.

Yr oedd yr eira yn y Dyffryn braidd wedi hollol ddiflanu yn niwedd Chwefror; ond darfu i'r mynych gawodydd oddiar hyny, yngbyd â rhew nosol trwy fis Mawrth, rwystro aredig nemawr cyn y cyntaf o Ebrill, pan oedd y ddaear yn foel. Dechreuodd gwlawogydd y gwanwyn ddisgyn, a dechreuodd y ffermwyr wneyd defnydd o ddychweliad dymunol amser hau, gan ymddiried mewn cynauaf toreithiog; a dymunem etto annog y brodyr, y rhai sydd yn feddiannol ar hadau dewisol ac anaml, i'w dwyn hwynt ganddynt, oblegid er fod llawer o amrywiaeth o hadau yn y Dyffryn, y mae llawer o amrywiaethau da ar y ddaear, ag yr ydym ni heb eu cael; a phe buasai genym gyflawnder o'r Silesia gwyn, neu hadau goreu *sugar beet*, yn yr amser hwn, ni fyddai anghenrheidrwydd arnom i brynu siwgr a thriagl ar ol y tymmor presennol, oblegid y mae llysieuau y Dyffryn yn cynnwys mwy o fater siwgwraidd, nag mewn un lle arall a adwaenom.

Fel y rhag grybwyllasom yn ein llythyr diweddaf, y mae oddeutu triugain o deuluoedd, o dan lywyddiaeth y Patriarch Isaac Morley, wedi gadael y lle hwn yn Hydref, ac wedi dechreu sefydliad yn Nyffryn Sanpete (Sand-pitch), cant a phedwar-ar-

ddeg ar hugain o filltiroedd i'r deau. Y maent wedi dyoddef llawer o anhawsderau o herwydd yr eira mawr, a'r rhew gerwin, o eisieu tai, ac anghenion ereill sydd yn gyffredin mewn hen sefydliadau, ac wedi colli llawer o'u hanifeiliaid; ond y maent wedi gosod sylfaen i waith mawr a gogoneddus, a'r rhai hyny a barhant hyd y diwedd i ddilyn cynghorion y nef, a gânt eu hunain yn fil mwy cyfoethog nâ'r rhai sydd yn gwneyd eu haur yn gynghorwr, ac yn ei addoli fel eu Duw. Mae eu hanifeiliaid, sydd yn fyw yn awr, wedi eu cynnal trwy eu bod yn rhofiaw yr eira oddiar y porfa, a'u diwallu â'u darpariadau o ŷd at hau; ac yr ydym wedi danfon atynt weddeuau llwythog, i ddiwallu eu hanghenrheidiau dros amser hau.

Maent wedi cael eu hamgylchynu gan lwyth o Indiaid ag sydd yn ymddangos yn gyfeillgar, y rhai sydd wedi dyoddef llawer oddiwrth y frech goch er pan y maent yn eu plith, ac y mae llawer wedi marw, fel hefyd y mae'r rhan fwyaf, neu'r oll o'r llwythau yn y mynyddoedd; ac y mae y rhai sydd yn fyw yn annog y brodyr i aros yn eu plith, a'u dysgu hwynt pa fodd i godi llafur a gwneyd bara; o herwydd, wedi iddynt brofi ychydig yn eu hafiechyd, y maent am gael eu diwallu â digonedd. Mae digon o goed tân yn rhwydd i'w cael; rhai o'r pinwydd goreu, glo diglistaidd, halen, a *plaster of Paris*, yn y sefydliad hwn, neu yn y gymmydogaeth gyfagos.

Mae Indiaid y Llyn Utah wedi bod yn dra aflonydd am amser hir; ac hyd y nod cyn i'r *pioneers* gyrhaedd i'r Dyffryn, dywedwyd wrthym gan y mynyddwyr a gyfarfuasom, mai "Indiaid drwg oeddynt, ac nad allem fyw yn agos atynt mewn heddwch, a bod tylwythau ereill o'r genedl Utahaidd ddim yn eu hoffi." Trwy adnabyddiaeth cawsom allan fod yr holl ddywediadau hyn yn wir; ac yn neillduol oddiar ein gohebiaeth ddiweddaf, maent wedi bod yn dra gelyniaethus, wedi lladd ugeiniau o'n hanifeiliaid, lladrata ein ceffylau, cynllwyn a saethu at ein brodyr yn Utah, hyd nes i hunan-amddiffyniad alw am ymosodiad uniongyrchol yn eu herbyn.

Cafodd eu gweithredoedd eu hamlygu i Capt. Stansbury, hefyd i'r tal-feistr a'r cyfryw swyddogion perthynol i fyddin yr U. D., sefydledig yn Fort Hall, ag oedd yma ar y pryd, ac yr oeddynt hwy yn unfrydol yn eu penderfyniad fod yn angenrheidiol ceryddu yr Indiaid hyny, a'i fod yn waith perthynol i finteioedd

yr U. D. yn Fort Hall i'w wneuthur, ond yr oedd yr eira mor ddwfn, fel nas gallai y milwyr ddyfod yno; o ganlyniad, daeth yn anghenrheidiol i'r dinasyddion fyned yn eu herbyn, yr hyn a wnaethant trwy gynghor pawb, ac yn nghwmni rhai o'r swyddogion cenedlaethol uchod; pan y darfu i gyfran o'r Indiaid, wedi amgloddio mewn mynedfa ddwfn ac amgauedig, wedi ei chuddio gan friw-wydd trwchus, ymladd yn ffyrnig am ddau ddiwrnod, yr 8fed a'r 9fed o Chwefror, gan golli llawer o'u rhyfelwyr. Cafodd un o'n brodyr ni ei ladd, ac ychydig eu clwyfo, y rhai sydd wedi gwella wedi hyny: ar ol ychydig o ymosodiadau yn rhagor, yn y rhai ni chafodd neb o'r brodyr eu lladd na'u clwyfo, adferwyd heddwch.

Y mae llawer o lwythau yr Indiaid Utahaidd, neu lawer o dylwythau y genedl hono, oddiwrth ba rai yr ydym wedi clywed, ac ymddangosant yn foddlongar i'r hyn a wnawn, a dywedant, "*Y mae yn dda, Indiaid drwg oedd y Llynwyr;*" ac nid oes un tebygolrwydd y bydd i'r Utahaid sydd ar ol gynnyg at ymosodiad ychwanegol yn bresennol, a gobeithiwn na wnant hyny byth.

Dychwelodd yr Henuriad Pratt oddeutu canol Chwefror gyda rhan o'r cwmpeini ymchwilgar, a gadawodd y gweddill gyda'r gweddeuau yn Nyffryn Yoab; canys yr oedd yr eira mor ddwfn fel na allai yr ychain drafaelu ond trwy lawer o anhawsdra gyfran o'r ffordd. Cyrhaeddasant oll yn ddiogel tua yr 28ain o Fawrth. Aeth y cwmpeini i'r deau fwy na thri chant o filltiroedd, a thros ymyl y Basin, i gyffiniau Dyffryn y Colorado, gan basio mynyddoedd dilwybr, wedi eu gorchuddio ag eira, ac wedi eu dilyn gan dywydd anarferol o oer, pan oedd yr arian byw lawer pryd yn cwympo 20 gradd islaw Zero. Cawsant allan rai dyffrynoedd bychain, ag ychydig neu ddim eira, yn dwymn ac hyfrydol, dymunol at sefydliadau, un o ba rai yw y Llyn Halen Fechan, lle yr ydym yn bwriadu gwneyd sefydliad y tymmor presennol. Y mae yno ddwfr da, mwn haiarn, a digonedd o goed. Ychydig, yn gymhariaethol, a ellid ddysgu am gynnyrchiadau llysieuol a metelaidd y wlad trwy ba un yr aethant; ond gwelsant ddigon i wybod fod daearyddwyr poblogaidd hyd yn hyn yn gwybod llai am y pethau mwyaf neillduol ar hyd-ddi. Digon yw dweyd, y mae etto ddigon o le yn nyffrynoedd y mynyddoedd i bawb a allant fod yn foddlongar ar ddiwydrwydd gonest, heddwch, a byw ar benau eu hunain.

Ar yr 22ain o Chwefror, teimlwyd ysgydwad daeargryn yn y Dyffryn, i raddau helaeth, gan achosi tai i siglo, a llestri pridd a chelfi i symud gryn lawer. Mae sŵn rhuthriadau llosg-fynyddoedd, neu gynhyrfiadau yn y ddaear, megys gollyngiad cyflegr pellenig, ddim yn bethau anfynych yn y mynyddoedd.

Mae iechyd y Saint yn gyffredin yn dda, ac nid oes un afiechyd yn ffynu yn ein plith, ac ond ychydig iawn o farwolaethau. Oddiar ein llythyr-gludiad diweddaf y brodyr Absolom Perkins, George W. Langley, mab henaf Erastus Snow, gwraig Claudius V. Spencer, y chwiorydd Jane Hall, Turley, Steward a Thompson, yw yr oll a gofiwn, a'r rhan fwyaf o'r rhai hyny o'r darfodedigaeth, a mathau ereill o afiechyd a ddechreuasant yn mhell cyn iddynt ddyfod i'r Dyffryn.

Mae Cynnulliad Cyffredinol Deseret wedi cynnal sesiwn gohiriedig, ar brydiau, trwy y gauaf, ac wedi myned trwy lawer o waith pwysig, megys rhanu y gwahanol sefydliadau i swyddi Weber, Llyn Halen Fawr, Utah, Sanpete, Yoab, Tuille, a sefydlu llysoedd sirawl, gyda'u barnwyr, ysgrifenwyr, a siryddion, ac ustusiaid a chwnstebli yn y gwahanol gyffiniau; hefyd, Uchel Lys, i gynnal eu sesiwnau blynyddol yn Ninas y Llyn Halen Fawr, gyda Marshall Taleithiol a Chyfreithiwr, a sefydlu deddfoliaeth gyffredinol, fel y gallo pob achos, pa un bynag ai troseddol ai cyfreithiol, gael ei drin gan swyddogion y Dalaeth, yn unol â'r gyfraith, cyfiawnder, ac uniondeb, yn ddioed.

Maent hefyd wedi mynu braint-ysgrif at Brif-ysgol Daleithol ar yr egwyddorion mwyaf haelfrydig, i gael ei sefydlu yn Ninas y Llyn Halen Fawr, gyda changenau trwy y Dalaeth, os bydd eisieu; ac wedi apwyntio tuag ati bum mil o ddolars y flwyddyn, am ugain mlynedd, allan o'r drysorfa gyhoeddus, a'r cyfan i fod dan arolygiaeth, cyfarwyddyd, ac awdurdod Cangellwr, deuddeg o Raglawiaid, Ysgrifenydd, a Thrysorwr, y rhai, yn ddiammau, a gyhoeddant eu bwriadau gyda y llythyr-gludiad hwn.

O achos gerwindeb y tywydd, ychydig sydd wedi ei wneyd ar yr adeiladau cyhoeddus oddiar y gwanwyn diweddaf. Y mae sylfaeni yr ystordy cyhoeddus a'r ystor wedi eu gosod, ac y mae y dwfr-lwybrau o'r ffynnon dwymn i'r baddonau cyhoeddus, yn myned yn mlaen yn gyflym, a byddant yn barod i'w defnyddio mewn ychydig o amser.

Mae Captain Stansbury, a'i *topographical engineers*, yn mesur y

Llyn Halen Fawr, a'r wlad gyfagos, i'r dyben o wneyd map, yr hwn, wedi ei orphen, yn ddiau a fydd yn dra dyddorol i'n cyfeillion pellenig, o herwydd trwyddo deuant i ddeall ein sefyllfaoedd perthynasol yn well.

Mae llawer o'r brodyr wedi myned i'r Cloddfeydd Aur, a llawer ar fyned, ac i gyd "*yn ol cynghor*," fel y dywedant, ac yn ddiammau yn wirioneddol. Y mae ychydig wedi myned trwy gyfarwyddyd y rhai sydd â hawl ganddynt i gynghori y Saint, ac y mae y cyfryw yn iawn, yn gymmaint â'u bod yn gwenuthur yn iawn; ond y mae y rhan fwyaf o lawer wedi myned yn ol cynghor ewyllys eu hunain a'u tueddiadau cybyddlyd. Gwnelai rhai felly fwy o les trwy aros yn y Dyffryn, a llafurio i barotoi y ffordd i dderbyn y brodyr; ond nid yw yn rhy ddiweddar iddynt hwy i wneyd daioni a chael eu hachub, os gwnant yn iawn yn eu cylch presennol o weithio, er na chânt gymmaint o wobr â phe byddent wedi cyflawni y daioni mwyaf.

Os bydd iddynt tra yn y cloddfeydd wrandaw ar gynghorion y dynion hyny sydd wedi eu hapwyntio i'w cynghori, a gweithredu cyfiawnder wedi dychwelyd, a gwneuthur i ereill fel y dymunent i ereill wneyd iddynt hwy, a chydnabod Duw yn ei holl ffyrdd, gallant etto gyrhaedd gogoniant mawr; ond os bydd iddynt beidio gwrandaw ar gynghor, a gwneyd eu haur yn dduw, a dychwelyd i blith y Saint, yn llawn o drachwant, a gwrthod rhoddi benthyg, neu gyfranu, neu ganiatau i'w harian gael eu defnyddio, os na chânt rhyw elw mawr trwy hyny, ac a welant eu brodyr tlawd, y rhai sydd wedi gweithio trwy gydol y dydd, mewn eisieu a chythrwfl, ac ni chynnorthwyant, ond a gadwant eu llwch yn eu codau,—byddai yn well iddynt hwy pe buasai maen melin wedi ei osod am eu gyddfau, a'u boddi yn nyfnderau y môr, cyn iddynt ŵyro oddiar ffyrdd uniawn yr Arglwydd; oblegid, os bydd iddynt barhau i galedi eu calonau, a chau i fyny eu hymysgaroedd o dosturi tuag at yr anghenus, ânt i lawr i'r pwll gyda'r eilun-addolwr, yn y foment na thybiont, gyda mor lleied o drugaredd ag a ddangosent hwy tuag at eu brodyr tlodion y rhai a fenthycient oddiwrthynt hwy, ond a yrwyd ymaith yn waglaw.

Mae aur yn dda yn ei le—mae yn dda yn nwylaw dyn da i wneuthur da ag ef; ond yn nwylaw dyn drwg, y mae yn fynych yn profi yn fwy o felldith nag o fendith. Mae aur yn was da,

ond yn dduw truenus, dall a digynnorthwy, ac yn y diwedd caiff ei buro trwy dân, ynghyd â'u holl ganlynwyr.

Bydded i'r Henuriaid Amasa Lyman a Charles C. Rich barhau eu gweithrediadau yn Nghalifornia Orllewinol, yn unol â chyfarwyddiadau blaenorol, ac nid yn unig cadw hanes manwl o'r holl ddegymau a gweithrediadau cyffredinol yr holl frodyr ffyddlawn, fel y byddom ni yn gwybod am eu gweithredoedd da, a'u croesawi fel brodyr pan y cyfarfyddwn, ond cadw hanes berffaith o'r holl rai a broffesant fod yn Saint ac na ddilynant eu cynghor, talu degwm, a gwneyd eu dyledswydd, a chyhoeddwch yr unrhyw i ni bob cyfleusdra, fel y byddont hwy a'u gweithredoedd yn cael eu hysgrifenu mewn llyfr o goffadwriaeth yn Seion, fel y byddont i'w barnu wrthynt, ac nid i dwyllo y ffyddlawn; o herwydd nid yw yn beth anghyffredin i ddynion i ddweyd, "Gallaf wneyd rhagor o ddaioni wrth fyned i'r cloddfeydd, nag a allaf wrth aros yma," ac yr ydym am brofi y cyfryw, a chael gwybod pa un a ydynt yn ddynion geirwir neu yn gelwyddwyr.

Pan fyddo dynion, yn proffesu bod yn frodyr, yn myned i'r cloddfeydd, yn ol eu cynghor eu hunain, yr ydym am iddynt aros yno nes y byddont yn cael eu boddloni—nes y byddont wedi cael digon i'w gwneyd yn gysurus, a pheth i wneyd daioni â hwynt, a thueddiad meddwl i'w defnyddio at y dyben hwnw, a pheidio rhedeg yn ol yma mewn ychydig fisoedd, cloi i fyny eu haur, bostio pa faint y maent wedi wneyd, yn gwneuthur dim daioni eu hunain, a rhwystro pawb ereill rhag gwneuthur daioni, mor bell ag y cyrhaedd eu dylanwad; melldithio Duw, gwadu yr Ysbryd Glân, a phan fyddo y gwanwyn yn dechreu, rhedeg i'r ogofeydd eilwaith, fel ag y mae rhai wedi gwneyd. Cofied y cyfryw nad oes eu heisieu yn ein plith; o herwydd, os na fydd iddynt edifarhau ar frys, bydd i ddigofaint Creawdwr tramgwyddedig eu gorddiwes yn ddisymmwth, ac ni fydd gallu i'w attal. Gadawed y cyfryw eu hysgerbydau lle maent yn gwneyd eu gwaith; nid oes eisieu arnom halogi ein claddfeydd â'r fath ragrithwyr; ond y mae yn ein calonau i fendithio pawb sydd yn gwneuthur yn iawn, beth bynag yw eu galwedigaeth, ac y mae ein breichiau yn agored o hyd i gofleidio y cyfryw; ac yr ydym yn gweddio dros bawb sydd yn anwybodus, neu allan o'r ffordd iawn, y bydd i'n Tad Nefol roddi iddynt ei ysbryd, fel y byddo iddynt ddysgu, a gwneuthur yn iawn.

Dymunwn ddweyd wrth y rhai hyny a ddichon ofni dyfod i'r Dyffryn o achos prinder coed, fod yn awr bedwar gwaith mwy o goed yn adnabyddus o fewn pellder rhesymol o'r ddinas hon, nag oedd un flwyddyn yn ol, ac y mae pob tymmor yn agor ar ystorfeydd newyddion o goed, yn y mynyddoedd amgylchynol; a'r holl anhawsdra yw y diffyg cynnorthwy sydd er symud y coed i'r Dyffryn, cyn disgyniad yr eira; heblaw hyny, y mae glo wedi ei ddarganfod, o ba le y gellir ei gludo ar reilffordd; rhwydd ei gwneuthur, ac y mae ychwaneg, ac yn nes mewn golwg.

Mae anghen mawr yma am ffwrneisiau a *forges*, at wneyd haiarn at felinau, peirianwaith, offer fferm, llestri tai, reilffyrdd, a llawer o bethau ereill; a gobeithiwn fod yr Henuriad Pratt eisoes wedi danfon dynion allan, y rhai a fyddant yma i ddechreu y fusness y tymmor hwn; os nad ydyw, hyderwn na fydd iddo golli golwg ar fater mor bwysig erbyn gauaf arall.

Y mae eisieu yr Henuriaid Orson Pratt a George D. Watt yn y lle hwn, ynghyd â'u teuluoedd; a dysgwyliwn hwynt yma mor gynnar yn 1851, ag y byddo amgylchiadau yn caniatau.

Yn yr amser ag y byddo yr Henuriad Pratt yn gweled yn gyfleus neu yn anghenrheidiol i rwyddhau ei ddychweliad, bydded iddo alw i'w gynnorthwyo yr Henuriad F. D. Richards, yr hwn a'i canlyna yn Llywyddiaeth yr eglwys yn yr Ynysoedd Prydeinig; ac awgrymem fod yr Henuriaid George B. Wallace a Levi Richards i fod yn gynghorwyr iddo. Mor bell ag yr ydym ni wedi ein hysbysu, mae yr Henuriad Pratt wedi gwneyd gwaith mawr yn Lloegr, ond y mae anghen yn awr am ei lafur yn nhref—ac os bydd y Saint yn galaru am ei golli, dywedwn ni, ymgysurwch a deuwch gydag ef, neu dilynwch ef mor fuan ag y galloch; ond os na allwch yn bresennol, bydd i chwi gael yn ei ganlynydd, yr Henuriad Richards, gynghorwr, llywydd, a chyfaill, ac yn deilwng o'ch gweddiau a'ch hymddiried.

Dysgwylir yr Henuriaid Wilford Woodruff ac Amasa Lyman yma y tymmor hwn. Dysgwyliwn hefyd i'r Henuriad Orson Hyde ymweled â ni, yr hwn, gobeithiwn, a ddwg liaws o Saint gydag ef; o herwydd y mae y gwaith yn y Dyffryn yn fawr, pan ei cymherir a nifer y gweithwyr. Mae cynauaf mwy wrth law nag a fydd o fedwyr i'w gasglu. Bydded i'r rhai hyny sydd yn cychwyn, fod yn barod i ddyfod drosodd heb gynnorthwy o'r Dyffryn, o herwydd ni fydd genym ddynion i'w hebgor yn

ystod y cynauaf i helpu ymfudwyr. Y mae cwmnïoedd eisoes wedi eu rheoleiddio ac yn barod i gychwyn at yr afonydd Green a Platte, i gadw *ferries* yn amser dwfr uchel, er hwylusdod i'r ymfudiad.

Dymunem annog y Saint i ystyried y pwys o gadw golwg ar y Gymdeithias Ymfudol Barhaus, ac o ychwanegu ati, yr oll a allont, yn y tymmor presennol; oblegid bydd pob blwyddyn ddilynol yn fwy fwy argoelus yn nghychwyniad gwaith Duw, a mwy mwy o Saint yn barod, ac eisieu ymfudo i Seion. Hyderus ddysgwyliwn mai y fath fydd y dyddordeb a deimlir, a'r trysorfeydd a gesglir yn yr Ynysoedd Prydeinig, fel y gallwn ddwyn y Saint o'r parthau yna, mewn un flwyddyn etto; a bydded i'r Llywyddiaeth yn Lloegr gymmeryd gofal neillduol i fod yn barod i weithredu yn unol â chyfarwyddiadau dyfodol ar y pwnc hwn.

Henuriaid Israel, byddwch yn ffyddlawn yn eich galwedigaeth, porthwch y defaid, porthwch wyn y ddeadell, a chyhoeddwch yr efengyl mewn pob symlrwydd, addfwynder, a chariad, pryd bynag y caffoch gyfleusdra, megys y rhoddir i chwi trwy nerth yr Ysbryd Glân, yr hwn a fydd yn gynghorwr i chwi o hyd, os byddwch yn ffyddlawn; a bydded i'r Saint roddi sylw manwl i gynghor y rhai hyny sydd yn edrychol drostynt yn yr Arglwydd, gan eu dal i fyny trwy weddiau ffyddiog, gan gadw eu hunain yn bur ac yn ostyngedig, ac ni fydd arnynt eisieu doethineb oddi uchod; a thrwy eich ffydd a'ch gweithredoedd chwiliwch eich ffordd allan i Seion.

Mae amrywiol o henuriaid wedi eu hapwyntio i fyned ar genadiaeth i Lloegr, Scotland, y Society Islands, y Taleithiau, a Chalifornia Orllewinol, megys y gwelir wrth hanes y Gymmanfa Gyffredinol, ar y 6fed o Ebrill, at yr hwn y cyfeiriwn am bob manylwch perthynol i unrhyw fusness a driniwyd.

Mae yn dda genym i ddweyd wrth bawb, fod dysclaeriach dydd yn gwawrio ar lwyddiant dealltwriaethol Seion; fod y Brif-ysgol a sefydlwyd yn ddiweddar gan Dalaeth Deseret, yn arwyddo y gall gyflawni y dyben i ba un y cafodd ei sefydlu; ei bod dan arolygiaeth dynion ffyddlawn a dysgedig, y rhai na ystyriant un llafur yn rhy fawr, er cyflawni dymuniadau a daioni mwyaf posibl y rhai hyny y cafodd y sefydliad ei osod i fyny er eu mwyn; a thaer erfyniwn am gyd-weithrediad yr holl Saint,

ac yn neillduol yr henuriaid yn mysg pob cenedl, i gasglu, fel y caffent gyfleusdra, lyfrau yn mhob iaith, ac ar bob celfyddyd, offerynau, ac enghreifftiau neillduol o natur a chelfyddyd, a phob peth a dueddo i harddu ac i fod yn ddefnyddiol; a danfon neu ddwyn yr unrhyw at Raglawiaid ein Prif-Ysgol, tuag at lesâu pawb o hyn allan ag a geisio wybodaeth oddiwrthynt.

Frodyr, ffarwel. Bydded i fendithion y nefoedd a'r ddaear gael eu lliosogi tuag atoch, a'ch calonau yn wresog i dderbyn a gwerthfawrogi yr unrhyw mewn cyfiawnder, a bydded i'r amser brysuro pan y cawn eich cyfarfod yn y wlad heddychlawn hon, yw gweddi barhaus eich brodyr yn efengyl Iesu Grist. Amen.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
WILLARD RICHARDS.

Dinas y Llyn Halen Fawr, Deseret, G. A. }
Ebrill 12, 1850. }

[O'r FRONTIER GUARDIAN, *Meh.* 12, 1850.]

---

## EPISTOL Y LLYWYDD ORSON PRATT, AT Y SAINT TRWY BRYDAIN FAWR.

[Allan o'r MILLENIAL STAR, Awst 15, 1850.]

ANWYL FRODYR,—Trwy fendith Rhagluniaeth dyner yr wyf wedi fy arbed unwaith yn rhagor i gyfarfod a'r Saint yn y tiriogaethau Prydeinig. Bum yn absennol oddiwrthych oddeutu pedwar mis, yn mha amser cyflawnais daith hirfaith, etto hyfrydol, i Council Bluffs, ar gyffiniau gorllewinol pellaf yr Unol Daleithiau. Mae cyfleusderau i drafaelu yn yr ychydig flynyddau diweddaf, wedi cynnyddu i'r fath raddau, fel ag y mae pellderau ar wyneb ein daear yn ymddangos megys pe byddent wedi lleihau. Yr oedd croesi y Mor Werydd, a theithio oddeutu dwy fil o filltiroedd i ganolbarth America, yn cael ei ystyried unwaith yn waith anhawdd; ond yn awr nid yw ond gwibdaith pleser. Mae gallu agerdd yn ymddangos fel pe byddai braidd wedi ymuno y ddau gyfandir yn un. Mewn llai nâ thair wythnos gall gweision Duw fyned o St. Louis i Liverpool—pellder cyfartal i chwarter amgylchedd y ddaear. Priodol iawn y gellir eu galw, yn iaith Esay, "*y cenadon cyflym at y cenedloedd.*"

Y mae wedi dygwydd i ran Saint y Dyddiau Diweddaf i fyw yn un o oesoedd mwyaf dygwyddiadol y byd—oes yn yr hon y mae drygioni yn teyrnasu yn fuddugoliaethus ar hyd holl wyneb y ddaear—oes yn yr hon y mae Duw wedi penderfynu rhwygo yn ddarnau a dadymchwelyd holl lywodraethau a theyrnasoedd y byd, a sefydlu ei deyrnas dragywyddol yn eiddo ei Saint, y rhai a gânt y lywodraeth dan yr holl nefoedd. Am oddeutu chwe mil o flynyddau, y mae trigolion ein byd wedi bod yn dangos eu doethineb wrth sefydlu amrywiol ffurfiau o lywodraeth ddynol; ond y mae drygioni wedi buddugoliaethu yn mysg y cyfan. Mae y drygionus wedi cael eu dydd i lywodraethu, ond yn awr y mae yn tynu yn gyflym tua ei ddiwedd. Mae eu haul yn machludo i godi byth mwyach: nos o dywyllwch hir sydd yn eu haros. Gosododd Duw ei law i droi ac i wrth-droi, ac i roddi ei deyrnas i'w Saint—i waredu y ddaear oddiwrth orthrymder a thrais—i ysu y drygionus fel ûs, fel y byddo i gyfiawnder yn unig gael ei ddyrchafu.

Er dwyn oddiamgylch y cyfnewidiad mawr hwn mewn achosion llywodraethol, y mae un o'r dadguddiadau mwyaf pwysig a ddaeth erioed i glustiau marwolion, wedi ei roddi, sef LLYFR MORMON. Danfonir ef allan fel y genadwri ddiweddaf at genedloedd y drygionus; danfonir ef i sefydlu teyrnas a faluria pob teyrnas arall; danfonir ef i gyflawni amseroedd y Cenedloedd, ac i rwymo i fyny y gyfraith a'r dystiolaeth yn eu plith, fel os na edifarhant, y caffont eu traddodi drosodd i ddinystr; danfonir ef i gasglu Israel o'u hir wasgariad; danfonir ef i wneuthur yr efengyl yn hysbys mewn mwy o symlrwydd a chyfiawnder, fel y byddo i amrafaelion ynghylch athrawiaethau i ddiflanu, ac i byddo i wylwyr Seion weled lygad yn llygad; danfonir ef fel y deallo y Saint arwyddion yr amserau, ac i beidio bod mewn tywyllwch, ac i'r dydd mawr hwnw eu gorddiwes yn ddisymmwth.

Pan fyddo y genadwri hon wedi ei chyhoeddi i'r holl genedloedd, daw Mab Duw i eistedd ar orseddfainc ei allu, ac i deyrnasu yn oes oesoedd. Y mae ugain mlynedd eisoes wedi myned heibio oddiar pan osodwyd i fyny deyrnas Dduw; mae y cyhoeddiad eisoes wedi swnio yn nghlustiau llawer o genedloedd; mae degau o filoedd yn America, yn Mhrydain Fawr, yn Ynysoedd y Môr Tawel, a llawer o ranau ereill o'r glôb, wedi derbyn

y newyddion da, ac â chalonau drylliog edifeiriol wedi eu bedyddio yn barod erbyn dyfodiad y Priodfab Mawr. Y mae eisoes ddegau o filoedd wedi ymgasglu allan o'r Unol Daleithiau, Prydain Fawr, ac Ynysoedd y Môr, i ddyffrynoedd y mynyddoedd yn Nogledd America; yno y maent yn adeiladu dinasoedd, temlau ac adeiladau cyhoeddus, gan droi dyffrynoedd ffrwythlawn yn erddi, a gwinllanoedd, a ffermydd gwrteithiog, a chan wasgaru eu hunain ar hyd y wlad amgylchynol. Lle yr adseiniai gynt ryfel-waedd anwariaid, a rhuad anifeiliaid gwylltion, y clywir yn awr lais gwareiddiad, a chaniadau melysber y cyfiawnion.

Bydded i'r Saint tlawd a thrallodus yn y wlad hon i sirioli eu hysbrydoedd isel-drist, canys mewn amser cânt eu casglu; os na allant gael modd yn y wlad hon, cynnorthwyir hwy o bell; oblegid yr Arglwydd yn ddiau a wared ei bobl, ac ni chaiff un gallu attal ei law. Y mae swn ymwared eisoes yn dechreu cael ei glywed o bell. Clywch! Llais o'r mynyddoedd yw. Nid llais buddugoliaeth anwariaid ydyw; nid llais gormeswyr, wedi eu gwisgo ag arswyd, ydyw; nid llais cenedl wedi ei gwasgu gan orthrymder ydyw; nid llais galar ac wylofain ydyw; ond llais rhyddid ydyw, yn gorfoleddu yn uchel-leoedd y ddaear. Wele hi yn sefyll ar benau y mynyddoedd draw, yn wisgedig â goleuni nefol. Gyda breichiau estynedig tuag at y cenedloedd, a chyda llais cariadlawn tosturi—y mae yn galw. Gwrandewch! y mae yn galw ar y Saint mewn trallod; y mae yn eu gwahodd hwynt i'w thrigfa. Ei llais a glywir! gwelwch y Saint yn cyfodi: gwelwch longau galluog yn eu cludo dros yr eigion—gwelwch niferi dirif yn llwybro y gwastad-diroedd gorllewinol; mae y bryniau tragywyddol yn dadseinio gan eu caniadau. Wele! dacw dyrfa ddirfawr wedi ymgynnull, wedi ymddilladu mewn gwisgoedd pur a gwynion. Maent yn gweddio—gwrandawa y nefoedd—y galluoedd fry ydynt wedi ymresu. Mae pob peth wedi ei barotoi—mae y Saint yn dychwelyd i Seion, a'r Arglwydd yn myned o flaen y gwersyll—mae y cenedloedd yn ofni ac yn arswydo; mae SEION WEDI EI GWAREDU, ac yn dyfod yn lawenydd yr holl ddaear. Molwch yr Arglwydd.

Ein newyddion diweddaraf o Sefydliadau y Llyn Halen a ddyddiwyd y 12fed o Ebrill. Yr oedd pob peth y pryd hwnw yn llwyddiannus yn y Dyffryn. Yr oeddynt yn aredig, hau, planu, ac yn gwneyd pob parotoadau gyferbyn â chynauaf toreithiog.

Bydd degau o filoedd o ymfudwyr i'r mwngloddiau, ynghyd â niferi mawrion o geffylau, mulod, ac anifeiliaid, yn myned trwy y Dyffryn y tymmor hwn, yr hyn a bery farchnad barod i'r holl gynnyrchiadau a ellir hebgor. Mae cyflawnder mawr o nwyddau, mewn *dry goods* a *groceries*, wedi eu cymmeryd gan y masgnachwyr i ateb galwadau y wlad; maent yn talu deugain gini y dunell am gario eu nwyddau o'r Bluffs i'r Dyffryn. Mae yr Arglwydd yn wir yn dechreu ffafrio Seion, a diwallu yn helaeth eu holl eisieu, er ei fod yn cymmeyd ei ffordd ei hun i wneuthur hyny. O! na fydded i'r Saint anghofio yr Arglwydd yn nyddiau eu llwyddiant. Mor fawr yw y cyfrifoldeb sydd yn gorphwys arnynt! ac mor ofnadwy yw y canlyniadau o gamddefnyddio y breintiau a'r bendithion a gyfrenir o'r nefoedd.

Mae yr Henuriad Woodruff, gyda y rhan fwyaf o'r Saint o'r Taleithiau dwyreiniol a chanolbarthol, yn awr yn croesi y gwastad-diroedd. Bernir y bydd ein hymfudiad i'r mynyddoedd y tymmor hwn oddeutu fair mil o eneidiau, y rhai a gymmerant ganddynt o 800 i 1000 o wageni. Mae y Saint sydd etto yn aros yn y Bluffs yn gyffredin yn dlawd, ond y maent mewn gwlad frâs a thoreithiog, a thrwy ymroddiad a diwydrwydd byddant yn fuan yn abl i fyned yn mlaen ar eu taith dros y gwastad-diroedd, gan adael y wlad i ereill o'r brodyr a ddeuant etto, ac a ddymunant aros yno am dymmor. Y mae oddeutu tair neu bedair mil o Saint yn St. Louis, y rhai, yn ol pob ymddangosiad, a wnânt yn dda, yn llawer gwell nâ'r Saint yn Lloegr. Yn bresennol ymddengys fod yn America deimlad o gyfeillgarwch ac ewyllys da tuag at y Saint braidd yn mhob parth. Mae ein tlodion yn cael gwaith yn gynt nag un dosparth arall o bobl; maent wedi eu profi, a'u cael yn deilwng o ymddiried; o herwydd hyn chwilir am danynt o flaen ereill. Mae yr Arglwydd wedi gweled trallodion ei bobl, ac wedi tyneru calonau y genedl hono tuag atynt am dymmor. Pa mor hir y pery y cyfeillgarwch hwn ni wyddom: nis gall fod yn hir; o herwydd y mae'r genedl wedi gwrthod cenadwri y nefoedd, a rhaid iddynt hwythau gael eu gwrthod gan Dduw; bydd iddynt o bryd i bryd galedu eu calonau yn erbyn pobl Dduw, a dymuno eu dinystr, ond Duw a'u gwareda hwynt allan o'u llaw.

Mae oddeutu dwy flynedd wedi myned heibio er pan yr apwyntiwyd fi i lywyddu y Saint yn y wlad hon. Ymdrechais,

yn ystod yr amser, i wneyd fy hun yn hysbys o'ch sefyllfa, ac i gynnyg y fath gynghorion ag a feddyliwn oreu i ateb eich amgylchiadau. Os, yn nghanol y lliosogrwydd goruchwylion sydd wedi bod yn gwasgu ar fy meddwl, y darfu i mi gyfeiliorni rywbryd, ni fu hyny yn fwriadol. Fy ngweddi a'm myfyrdod parhaus oedd ceisio adnabod ewyllys Duw tuag atoch. Y mae yn rhoi llawenydd mawr i mi wrth feddwl fod yr eglwys wedi blaguro yn fawr er pan ydwyf yn eich plith, a bod llawer o filoedd wedi eu hychwanegu at eich rhifedi. Y mae heddwch ac undeb hefyd wedi ffynu braidd yn mhob cangen; tra y mae'r Ysbryd Glân wedi ei dywallt arnoch yn helaeth, fel y mae yn amlwg oddiwrth yr amlygiadau gwyrthiol o'r gallu gwellhaol, ynghyd â bendithion lliosog ereill a fwynheir trwy y tir. Mae yr arwyddion hyn o ddaioni Duw tuag at ei Saint â'u tuedd i wneyd gweision ffyddlawn Duw i lawenhau.

Mae y reolaeth ddoeth a phwyllog a gadwyd gan lywyddion y cynnadleddau, a'r henuriaid teithiol o danynt, wedi bod yn un o'r moddion mwyaf yn llaw Duw i daenu achos y gwirionedd yn yr Ynysoedd Prydeinig. Y mae cylchrediad helaeth y gair argraffedig hefyd wedi gwneyd ymegnïad at droi olwyn fawr iachawdwriaeth. Mae llymder dyscyblaeth wrth dori ymaith gangenau crin—wrth buro yr eglwys o aelodau llygredig—ac wrth osod y fwyall ar wreiddyn pob math o ddrygioni,—wedi cael dylanwad grymus i gadarnhau a nerthu yr addfwyn a'r gostyngedig, ac i oleuo llygaid yr ymchwiliwr onest.

Bydded i henuriaid llywyddol pob cynnadledd ymdrechu gwneyd eu meddyliau yn hysbys mewn perthynas i sefyllfa pob cangen dan eu gofal. Edrychwch pa un a ydyw eich diadelloedd mewn cyflwr iachus ai peidio. Mae yr Arglwydd wedi eich gwneuthur chwi yn fugeiliaid ar ei ddefaid: os collwch chwi y defaid, neu ddyoddef iddynt i drengu trwy eich hesgeulusdod, gofynir hwynt ar eich llaw chwi. Dysgwch lywyddion y cangenau i edrych yn fanwl ar ol yr holl aelodau. Cynghorwch hwynt i ddyscyblu yn llym, a llwyr ddadwreiddio pob athrod ac enllib rhwng y naill a'r llall; oblegid y mae hyn yn ddrwg mawr, ac yn cefnogi ymrysonau, ymbleidiau, cynhenau, gwrthgiliad, a marwolaeth. Os na fydd i'r athrodwr a'r enllibwr, ar ol derbyn rhybyddion priodol, ddiwygio a gadael ei arferion drwg, tyner ei aelodiaeth oddiwrtho, a chaffed pawb wybod nad yw eglwys

Dduw yn le i niweidio a dyfetha y naill y llall. Os bydd unrhyw swyddog neu aelod o dan eich gofal i'w gael yn dysgu neu yn ymarfer athrawiaethau anrinweddol, ymddyger yn gaeth tuag ato yn ol cyfraith Duw; ac os bydd llywydd cynnadledd yn troseddu, neu yn dysgu neu yn ymarfer rhyw ddrygioni, bydded i'r cyfryw gael ei wneyd yn hysbys i ni, ynghyd â'r tystiolaethau priodol; ac os bydd un o'r Deuddeg, neu lywydd y Saint yn Mhrydain Fawr, yn troseddu cyfraith rhinwedd, a dysgu ac ymarfer anghyfiawnder, edrychen llywyddion y cynnadleddau i'r mater, gan gasglu y tystiolaethau perthynol, a danfon y cyfan yn ddioed at y Brif Lywyddiaeth yn yr *head-quarters*, fel yr ymddyger at bawb yn ol cyfraith y nefoedd. Mae yr amser wedi dyfod pan y mae gormod o oleuni a gwybodaeth wedi ei roddi i'r Saint, iddynt i ddyoddef gael eu twyllo gan ddynion a arweinir ymaith gan eu chwantau. A dywedwn, yn enw yr Arglwydd, y bydd i anfoddlonrwydd y nef orddiwes y godinebwr, os na edifarha ar frys, a thynir ei enw allan o blith pobl Dduw. "Gwae iddynt hwy sydd yn gwneuthur godineb, medd yr Arglwydd Dduw Hollalluog, oblegid hwy a deflir i lawr i uffern." Gwae i'r rhai hyny sydd yn bradychu yr ymddiried a gyflwynwyd iddynt, ac a wnelont ddefnydd o'u hawdurdod i hudo ac arwain ar gyfeiliorn fenywod anwybodus a ffol; oblegid, os na edifarhant, eu hawdurdod a dderfydd yn gyflym fel y soff sych o flaen y fflam ddifaol. Gwae i'r rhai hyny sydd yn dweyd celwydd ac yn dwyn cam-dystiolaeth yn erbyn eu brawd neu eu chwaer er eu niwed; buasai yn well i'r cyfryw pe byddent wedi eu suddo yn eigionau y môr, na digio plant Duw. Gwae i'r rhai hyny sydd yn lladrata, oblegid eu gweithredoedd a wneir yn amlwg, a chyfiawnder a barn a ymaflant ynddynt yn yr awr na thybiont. Gwae y rhai hyny sydd yn caru enllib, ac ni pheidiant ddweyd yn ddrwg am eu brawd a'u chwaer, oblegid hwy a ddirmygir gan Dduw a dyn, a'u gobeithion a ddiflanant ymaith ac a ddarfyddant. Gwae pawb yn mhlith y Saint a droant oddiwrth eu cyfiawnder ac a wnant ddrygioni, o herwydd y mae dydd mawr yr Arglwydd gerllaw, a'u rhan fydd gyda'r rhagrithwyr a'r anghredinwyr.

Bydded i'r Saint santeiddio eu hunain yn eu corff a'u hysbryd, fel y byddo i'r Ysbryd Glân, ynghyd â'i alluoedd a'i roddion cydfynedol, gael ei amlygu yn fwy; oblegid y mae'r dinystrydd allan ar y ddaear, a rhaid i'r Saint fyw trwy ffydd. Ond, pa

fodd y gallwn gael ffydd, os esgeuluswn y cynghorion doeth a ordeiniodd Duw er ein diogelu !

Mae yr amser yn agosâu pan y byddaf fi yn eich gadael, a myned tua'r Dyffryn gyda'm teulu, yn ol dymuniad y Brif Lywyddiaeth, fel y gwelir yn eu hepistol diweddar. Ond sicrhaf chwi, anwyl frodyr, y bydd yr amlygiadau o ymddiried anarferol, ag y mae'r Saint yn mhob man wedi ddangos tuag ataf fi, gael eu meithrin yn barhaus genyf gyda chalon ddiolchgar. Byddaf yn edrych o hyd ar y tymmor byr hwn o'm bywyd yn mhlith dyddiau dedwyddolaf fy mhererindod. Ac os bum i yn offeryn dystadl yn llaw Duw i lesoli rhyw rai o'r Saint, neu i helaethu ei achos yn Mhrydain Fawr, bydd hyny yn gweinu cysur mawr a pharhaus pan yn mhell mewn hinsoddau ereill.

Mae y Saint yn y wlad hon yn anwyl i'm calon; yr wyf wedi gweled eu trallodion, eu llafur caled, a'u gorthrymder, ac y mae fy nghalon wedi cwynfanu uwchben eu helbulon. Yr wyf wedi eu caru o herwydd eu honestrwydd yn derbyn y genadwri o wirionedd ag y mae Duw wedi danfon ei weision gostyngedig i gyhoeddi: yr wyf wedi eu caru o herwydd eu dymuniad taer i weithredu cyfiawnder a gwrandaw ar gynghorion y nefoedd: yr wyf wedi eu caru o herwydd eu ffydd a'u cariad tuag at Dduw a'i wirionedd; yr wyf wedi eu caru o herwydd eu bod hwy wedi fy ngharu i; a phan yr wyf yn gweled eu tlodi a'u dyoddefiadau, mae fy enaid yn ymofidio drostynt, a'm llygaid yn cael eu llanw â dagrau. Yn nghyflawnder fy nghalon y galwaf arnat ti, O fy Nhad a'm Duw. Yr wyf yn gofyn i ti, O Dduw, i edrych ar y rhai hyn, fy mrodyr; wele, pa fodd y maent wedi llafurio yn galed y blynyddoedd meithion hyn, tra yr oedd eu plant yn gwaeddi am fara: wele hwynt, O Arglwydd, wedi eu gostwng mewn trallod, dan y beichiau trymion a osodir arnynt gan eu tasg-feistri creulawn; a phan y byddot yn edrych, O Arglwydd, ar y trallodion mawrion hyn o eiddo dy blant dy hun, boed i'th ymysgaroedd gael eu llanw o dosturi tuag atynt; bydded i iachawdwriaeth a gwaredigaeth ddyfod ar frys: nac oeda, rhag i'th bobl gwympo dan y iau drom a threngu. O Arglwydd, mae dy bobl yn y wlad hon wedi dyfod yn bobl liosog, ond nid dyma eu gorphwysfa—mae eu llygaid a'u calonau tua mynyddoedd Seion—y tir ag wyt ti wedi ordeinio i fod yn breswylfeydd i'r cyfiawnion yn nyddiau eu trallod. Gogonedda dy enw, O Dad,

trwy weithio allan waredigaeth gyflym i'r bobl lliosog hyn, fel y byddo iddynt orphwys gweddill eu dyddiau oddiwrth eu caethiwed caled, yn yr hwn y gwasanaethasant. Casgla y bobl hyn ynghyd, fel y byddo iddynt hwy a'u plant ddysgu dy ffyrdd yn fwy perffaith, a rhodio yn dy lwybrau, ac fel na fyddo iddynt mwyach gael eu harwain ar gyfeiliorn gan draddodiadau gwag a ffol y Cenedloedd; ïe, O, Arglwydd, achub dy bobl am byth.

Tebygol y bydd i mi adael Lloegr tua diwedd y gauaf nesaf, neu yn gynnar yn y gwanwyn, ac efallai yn gynt; ond yr wyf yn llawenhau yn fawr y gallaf eich gadael dan lywyddiaeth a gofal un o'r Deuddeg, sef Franklin D. Richards, llafur blaenorol pa un yn y wlad hon sydd yn ddigon hysbys, ac a werthfawrogid yn fawr gan y Saint. Mae ei ddiwydrwydd diflino yn achos y gwirionedd--ei ymarweddiad duwiol-frydig, yn gyssylltiedig a thymher fwyn a charuaidd—ei rinwedd a'i burdeb rhagorol, mewn undeb â chynneddfau mawrion, wedi eu cyfoethogi gan ddoethineb a gwybodaeth y nefoedd—wedi ei gymhwyso yn rhyfeddol i'r swydd anrhydeddus a thra chyfrifol o lywyddu dros yr eglwysi lliosog a ymddiriedir yn fuan i'w ofal. Bydd i'r brawd Richards weithredu mewn cyssylltiad â mi fel cynghorwr tra y byddaf yn aros yn y wlad hon; a gobeithir trwy ein cyd-ymdrechion y byddwn yn offerynau i gynnyddu achos mawr y gwirionedd yn y rhan hon o winllan yr Arglwydd.

Mae rhai o'r henuriaid llywyddol wedi bod yn hytrach yn esgeulus i ddysgu cyfraith y Degwm, yn unol â'r cynghorion a roddasom ni o'r blaen. Dylai llywydd pob cynnadledd edrych fod pob aelod o'i eglwys oddiwrth yr hwn y gofynir degwm, yn cael ei ddysgu yn nghylch ei ddyledswydd ar y pen hwn; dangoswch iddynt yr anghenrheidrwydd o ufydd-dod trwyadl i'r gofyniad hwn o eiddo y nefoedd, y mae mor anghenrheidiol â rhyw ofyniad arall; ni chyfiawnheir neb wrth esgeuluso y y cynghorion a roddir yn ei gylch; ni lwydda neb a gymmero arno dwyllo yr Arglwydd, a dianc ymaith i'r America efo ei eiddo a'i arian, heb dalu y ddegfed o honynt yn y wlad hon. Mae Duw wedi gorchymyn, a rhaid i ddyn ufyddhau; o herwydd cyfiawnder a barn yw cosp anufydd-dod; o ganlyniad annogwn y Saint i ufyddhau i gyfraith y degwm; ufyddhewch iddi yn drwyadl gyda chalonau siriol; ufyddhewch iddi yn ddioedi. Yr wyf yn barod wedi benthycia dros £200 uwchlaw y degwm ag

oedd genyf mewn llaw, er danfon hoelion, gwydr, a phethau ereill perthynol i'r deml, i'r Dyffryn: yr oedd hyn yn angenrheidiol fel y gellid eu danfon drosodd y tymmor hwn, fel na fuasai y gwaith mawr yn cael ei attal. Rhaid i'r swm a fenthyciwyd gael ei thalu yn ol o fewn ychydig wythnosau; o ganlyniad galwn ar lywyddion y cynnadleddau i edrych fod pob dyn a ddylai dalu degwm, yn gwneyd ei ddyledswydd yn ddioed, fel y byddo trysorfeydd yn ystordy yr Arglwydd i gyflawni y bwriadau a enwir yn nadguddiadau a chynghorion y nefoedd. Dysgwch y Saint sydd ag eiddo, y rhai na ymdrechant ufyddhau i'r gyfraith hon o eiddo y nefoedd, y bydd i Ysbryd Duw ddechreu cael ei dynu oddiwrthynt, ac y bydd llaw yr Arglwydd yn eu herbyn; a darfyddant lwyddo yn eu goruchwylion trafnidiol, a bydd melldith ar lafur eu dwylaw; ac os na edifarhant, gwywant megys cangen a dynir o'r winwydden.

Rhaid i'r Drysorfa Ymfudol Barhaus hefyd gael ei chadw mewn golwg; a dylai y Saint gael eu dysgu yn fanwl ynghylch y pwysigrwydd o wneuthur yr oll yn eu gallu tuag at fwyhau y drysorfa hon; mae wedi ei sefydlu yn benaf er llesâd y tlodion, ac i gael ei defnyddio yn ol y cyfarwyddiadau a roddir o bryd i bryd gan y Brif Lywyddiaeth. Bydded i'r holl drefniadau a'r cynghorion a roddwyd i'r Saint, yn fy absennoldeb, gan y brawd Franklin D. Richards, mewn perthynas i gasgliad y drysorfa hon, gael eu gosod mewn gweithrediad. Danfoned trysorwyr y cynnadleddau yn ddioed i'n swyddfa ni, swm y trysorfeydd sydd ganddynt mewn llaw, ynghyd â chofres o enwau y cyfranwyr, y swm a gyfranodd pob un, ac hefyd enw y gangen a'r gynnadledd lle mae pob un yn byw. Ar ol gwneuthur yn ol y cyfarwyddyd hyn, bydded i drysorwyr y cynnadleddau ddanfon taliadau chwarterol a mynegiadau i ni, sef, ar y 1af o Hydref, y 1af o Ionawr, y 1af o Ebrill, a'r 1af o Awst. Gan na fydd ein swyddfa yn gyfrifol ond yn unig am y trysorfeydd a'n cyrhaeddant, gwnawn gyhoeddi o bryd i bryd, os bydd anghen, enwau yr holl gyfranwyr, ynghyd â'r swm a gyfranwyd (gyda'r eithriad i'r rhai hyny a ddymunant i ni wneyd fel arall). Bydd tuedd yn hyn, i ryw raddau, i ddarganfod unrhyw anonestrwydd ar ran y trysorwyr. Gobeithiwn, pa fodd bynag, na cheir allan fod un anonestrwydd yn bodoli yn mhlith y Saint, ond y bydd pob dyn yn ffyddlawn a gofalus yn mhob peth a ymddiriedir i'w ofal. Yr ydym hefyd

yn dweyd wrth yr holl Saint, na fydded i ddim o'r Drysorfa Ymfudol gael ei ddefnyddio tuag at unrhyw gostiau, ond bydded i bob costiau a achosir trwy brynu llyfrau cyfrif rhad i'r trysorwyr, neu trwy ryw ffordd arall, gael eu setlo gan y cangenau, yn annibynol o'r drysorfa hon.

Mae anghen mawr am grefftwyr o bob math yn ngwlad y Llyn Halen. Gelwir yn fawr am ffwrneisieu, *forges*, gweithiau gwydr, gweithiau pridd-lestri, gweithiau cotwm, llian, a gwlan. Chwilied llywyddion y cynnadleddau yn fanwl yn mhob cangen dan eu llywyddiaeth, am bob math o grefftwyr a gweithyddion doeth, medrus, a dyfeisgar. Cynghorwch y cyfryw o honynt sydd â modd, i fyned yn union i'r Dyffryn; a chynghorwch y rhai sydd heb ddim, i wneyd pob ymegniad i gael modd, a bod yn barod pan elwir am danynt, os bydd trysorfeydd yn cael eu defnyddio i'w cynnorthwyo; a chofiwch y dywediad, y bydd Duw yn helpu y cyfryw o'i Saint ag a geisiant yn ddiwyd a gonest helpu eu hunain. Mae gan lywyddion y cynnadleddau lawer o ddyledswyddau i'w cyflawni mewn cyssylltiad ag iechydwriaeth dymmorol y Saint, yn gystal ag ysbrydol; na fydded iddynt, gan hyny, fod yn hwyrfrydig mewn perthynas i'r cynghor hwn. Annogasom chwi ynghylch y pethau hyn fisoedd yn ol mewn amrywiol o'r *Stars*, a gobeithiwn yn ostyngedig nad ydych wedi anghofio pynciau a ystyriwn ni o gymmaint pwys i lwyddiant plant Seion. Os gellwch gael dynion ag eiddo, y rhai nad ydynt erioed wedi bod yn ymwneyd â busnes weithyddol, ond sydd yn foddlawn gosod eu harian i sefydlu busnes o'r fath, dysgwch hwynt mai eu braint yw gwneuthur hyny, ac y cânt eu bendithio ar eu canfed yn y bywyd hwn, heblaw meddu y boddlonrwydd o weled cannoedd o filoedd o Saint yn cael eu llesoli trwy eu gweithfaoedd. Cyfoded y Saint yn Mhrydain Fawr ag un galon a meddwl i gyflawni y gwaith mawr a galluog sydd o'u blaen, a'r Arglwydd eu Duw a'u bendithia hwynt, ac a nertha eu dwylaw hwynt, ac a'u galluoga i gyflawni rhyfeddodau yn ei enw. Galwyd hwynt i wneuthur pethau mawrion; na fydded iddynt, gan hyny, wan-galoni na rhoi i fyny, oblegid y mae Duw gyda hwynt.

Gyda theimladau o gariad tuag at yr holl Saint, a chyda dymuniad am eich llwyddiant, tanysgrifiaf fy hun,

Eich brawd yn nheyrnas Crist,

ORSON PRATT.

15, Wilton Street, Liverpool, Meh. 23, 1850.

## GWYL DE YN LIVERPOOL.

CYNNALIWYD gwyl dê yn y dref uchod gan y Saint, ar y 30ain o Orphenaf diweddaf, i roesawi dychweliad yr Apostol Orson Pratt yn ol o Council Bluffs, lle y bu yn ddiweddar yn ymweled a'r awdurdodau yno. Cyrhaeddodd y brawd O. Pratt adref yma ar y 17eg o Orphenaf. Yr oedd o bymtheg i ugain o lywyddion cynnadleddau wedi eu gwahodd i'r wledd, ac yn eu plith yr oedd y Llywydd W. Phillips, a ninnau. Dysgwylid y brawd John Taylor i fod yn bresennol, ond rywfodd neu gilydd methodd ddyfod. Ymgynnullodd y swyddogion a'r Saint erbyn chwech o'r gloch, i'r Music Hall, lle yr oedd tê rhagorol wedi ei barotoi. Wedi canu tôn neu ddwy gyda'r organ, galwyd llywydd y gynnadledd i lywyddu y cyfarfod; ac yna wedi i'r gynnulleidfa fendithio y bwyd trwy ganu, darfu iddynt ddiwallu eu hunain o'r pethau da oedd ar y byrddau. O, mor ddedwydd y teimlem ni yn mhlith yr Apostolion Pratt a Richards, a'r holl swyddogion ereill ag oedd yn bresennol. Oddeutu saith o'r gloch, yr oedd yr holl gannoedd Saint a chyfeillion yn barod i wrandaw eilwaith ar y canu peraidd ag oedd yn dadseinio trwy yr ystafell, ac ar yr areithiau galluog ag oedd i gael eu traddodi. Yna galwyd ar G. D. Watt, O. Pratt, Flanigan, Cummings, Wheelock, Halliday, Collins, J. Davis, Russel, F. D. Richards, ac ereill. Canodd amrywiol swyddogion yn hyfryd rhwng y gwahanol areithiau. Cawsom ein difyru yn y dull hyn hyd un ar ddeg o'r gloch, pan y barnwyd yn ddoeth i ymadael. Yr oedd pob rhai yn teimlo yn llawen wrth gael y pleser o roesawi y brawd Pratt yn ol, sef un ag oedd wedi gweyd cymmaint o ddaioni yn ein plith. Dangosodd y brawd Richards ei werthfawrogrwydd mewn modd hyawdl iawn, ac erfyniodd y buasai y brawd Pratt yn gadael ei fantell iddo ef pan yn ymadael â'r wlad yn y gwanwyn nesaf, yn ol y cyfarwyddyd a roddir yn yr Epistol Cyffredinol diweddaf.

---

## GOFYNIADAU AC ATEBION.

1. DYMUNAF gael eglurhad ar y geiriau "pan ddelo yr amseroedd i orphwys o olwg yr Arglwydd," a welir yn Actau iii, 19. Ymddangosant yn annealladwy i mi.—*T. L.*

Mae yr ymadrodd uchod yn y Saesneg, yn esbonio ei hunan. Gwnelem ni gyfieithu y geiriau fel hyn:—"Pan ddelo, o bresennoldeb yr Arglwydd, yr amseroedd i orphwys."

2. Pa eiriau sydd i'w harferyd wrth fedyddio?—*Ieuanc.*

Ond odid mai cyn geni ein brawd yr atebasom y cwestiwn hwn o'r blaen, neu efallai cyn iddo ddysgu darllen. Edryched yn Rhifyn 13, tud. 24, a chaiff ei foddloni.

---

## LLYTHYR O FFRAINC.

*7 Rue Tourmon, Paris, Awst* 8, 1850.

Anwyl Frodyr Wm. Phillips a John Davis,—Yn Boulogne, ar y 24ain o Fehefin, codasom yn fore. Anerchodd y brawd Taylor ein Tad nefol, gan ddymuno arno i agor calonau prif lywyddion y deyrnas hon, er hwylusu y genadiaeth. Wedi hyny, aethum at Messieurs Fountaine, arglwydd maer Boulogne, i ofyn am ganiatâd i bregethu efengyl Iesu i drigolion y dref hon; yr hyn a ganiataodd yn foneddigaidd, gyda'r serchogrwydd mwyaf.

Wedi hyny aethum at foneddwr o'r enw Monsieur Tatar i ofyn am ganiatâd i bregethu yn ei "Salé de Concerts," yr hyn a ganiatawyd yn y fan. Yna aethum at olygydd y newyddiadur "Interpreter," Mr. Pater, i ofyn am ganiatâd i ysgrifenu Mormoniaeth yn ei bapyr; yr hyn a ganiatäwyd yn union. Atebodd Duw ein gweddi; da yw dechreu gyda Duw yn foreu am fendith. "Ton Père qui te voit dans le secret, te le rendra publiquement" (Math. vi, 6).

Yn hwyr y dydd, aethom i lawr i'r traeth yn ymyl y môr, lle y darfu i mi a'r brodyr Taylor, Bolton, Piercy, Pack, a Stayner, fyned ar ein gliniau o flaen yr Arglwydd. Gweddiodd y brawd Taylor y weddi ganlynol:—

"O Dduw, ein Tad nefol, wele yr ydym ni, dy weision, yn ymgrymu o'th flaen, ac o eisieu lle mwy cyfleus, ar draeth y môr yn nghysgod y nos, yn ddisylw gan blant y byd hwn, yr ydym yn galw arnat, oblegid tydi ydyw ein Tad; canys y mae dy ddaioni arnom, a'th drugareddau yn helaeth tuag atom. Ti lefaraist wrth rai o honom sydd yn bresennol trwy enau dy weision, tra yr oeddym yn nyffryn y mynyddoedd, yn mhell yn ystlysau y gogledd, am adael ein cartref a'n teuluoedd, a dyfod i'r lle hwn i bregethu dy efengyl. Hyd yma yr ydym wedi ufyddhau i'th air, ac yr ydym yma yn ol dy gynghor. Dygaist ni yn ddiogel, tra

yn teithio mynyddoedd, anialwch, dyffrynoedd, afonydd, a moroedd; cedwaist ni rhag pläau, heintiau, llong-ddrylliad, a'r cleddyf, ac y mae ein bywyd wedi bod yn werthfawr yn dy olwg; ac wele ni yma yn golofnau byw o'th ddaioni. Y mae yma ereill hefyd, sef ein brawd Howells, a fu yma yn llafurio o'n blaen, a'r brodyr ereill sydd wedi dyfod gyda ni, sydd wedi gadael eu teuluoedd er dyfod yma i weithio yn dy winllan. Ein Tad santaidd, yr ydym yn gofyn yn enw Iesu, am ddoethineb i osod o flaen y bobl hyn, egwyddorion tragywyddol y dwyfol wirionedd; canys yr ydym wedi dyfod i ddadgloi dôr bywyd ac iechydwriaeth i'r deyrnas hon. Yr ydym yn gofyn am i ti ein cynnorthwyo yn ein hymdrechiadau i gyflawni y galwedigaethau sydd wedi syrthio arnom, mewn dull a ddug ogoniant i'th enw, ac anrhydedd i ni ein hunain, fel y delo miloedd yn y tir hwn i lawenhau yn nghyflawnder bendithion efengyl y tangnefedd. Yr ydym yn gweddio arnat, O Dad, i lywodraethu calonau y bobl hyn, yn y fath fodd, fel y cynnorthwyont ni yn y gwaith hwn—fel y gallom gael cyfleusdra i bregethu dy efengyl i bob gradd ac enwad o ddynion—fel y casgler y rhai onest eu calon ynghyd i fwynhau yr un bendithion ag a ddadguddiaist i ni. Yr ydym yn gweddio am i ti ein gwisgo â doethineb, goleuni, a dealltwriaeth gallu dy Ysbryd, fel y byddom yn alluog i anrhydeddu ein galwedigaeth oruchel a santaidd, yn mhob sefyllfa ac amgylchiad. Dyro i ni ddoethineb, fel y gwybyddom pa bryd i lefaru, a pha bryd i dewi—pa egwyddorion y gwirionedd i'w gosod o'u blaen, a pha beth i'w gadw,—fel na byddo i ni un amser, mewn gair neu weithred, fod yn graig rhwystr ar ffordd yr onest eu calon. Bydded i ti faddeu ein gwendidau. Ein Tad santaidd, os pechasom yn dy erbyn mewn meddwl, gair, neu weithred, yr ydym yn enw Iesu yn gofyn am i ti ddileu ein camweddau, ac na chofia hwynt yn ein herbyn mwyach byth. Gwregysa ni â nerth doethineb Ysbryd y Goruchaf, fel y byddom yn alluog i ymddwyn ein hunain yn anrhydeddus fel gweision Duw, tra y byddom yn teithio yn y tir hwn. Cynnorthwya ni i gadw ein cyrff a'n hysbrydoedd yn bur o'th flaen. Yr ydym yn gofyn hefyd am i ti fendithio ein gwragedd, ein plant, a'n teuluoedd; gwisg hwynt â'th Ysbryd Glân; cysura hwynt yn eu sefyllfa unigol. Bydded i'th angylion, O Dduw, gastellu o'u hamgylch, a'th Ysbryd i'w gordoi; cyflawna eu holl anghenion, ac na ad iddynt fod mewn eisieu un daioni a fyddo yn tueddu i'w gwneyd yn gysurus ac yn hapus. Diogela hwynt oddiwrth y dinystrydd, ac oddiwrth ddwylaw y drygionus. Yr ydym yn gofyn, O Dad, am i ti fendithio dy was Brigham Young, ynghyd â'i gynghorwyr; gwisg hwynt â nerth dy Ysbryd, ac agor iddynt ddadguddiedigaethau y nefoedd. Bendithia dy holl Saint yn y Dyffryn, ynghyd â llywyddion a chynghorwyr dy eglwys. Bendithia dy bobl trwy y byd, a gwna iddynt lawenhau ynot fel Duw eu hiechydwriaeth. Bydded i ti gadarnhau dy Seion mewn cyfiawnder, fel y byddo i'r holl deyrnasoedd ymgasglu dan ei baner. Yr ydym yn awr, O Dduw, yn ymgyssegru

ein hunain, ein gwragedd, a'n plant, ynghyd â'r hyn oll sydd genym, i ti; oblegid dy blant di ydym, a thydi yw ein Duw; ac yr ydym yn gofyn am i'th dangnefedd a'th fendith aros gyda ni o hyn allan byth bythol. Amen."

Meh. 26.—Y mae Monsieur Piclard, gweinidog y French yn Havre, wedi dyfod drosodd yma, ar ein hol o Llundain. Efe oedd y cyntaf a gredodd yr efengyl yn Ffrainc, wedi iddo fy holi yn fanwl am un awr ar ddeg; gyda ni y mae am fyw, a diau y cymmer ei fedyddio yn fuan. Bob dydd y mae gyda ni yn treulio rhan o'i amser; ni wyr gymmaint ag un gair yn yr iaith Saesneg. Y mae yn ein cyrddau, ac yn mhob man, fel ninnau. Tuedded Duw ef i wneyd brys i daflu ei goelbren yn ein plith; canys y mae eisieu y fath un yn fawr arnom.

— 29.—Derbyniasom lythyr caredig, yn rhoddi caniatâd i bregethu yn y Salè de Concerts, 21 Montseigny, oddiwrth faer tref Boulogne.

— 30. Aethum gyda'r brawd Taylor i'r eglwys Gatholig, lle y pregethodd yr offeiriad yn yr iaith Saesneg, ar "Necessity of works for salvation—works of piety, charity, and penitance." Yn mhlith y gau, dywedodd lawer o wirionedd. Mynych yr eisteddodd i lawr yn ei bwlpud, wrth bregethu, i gymmeryd *pinch o snuff*.

Gorph. 1.—Y mae, yn mhob heol o'r dref, y wybodaeth ganlynol yn cael ei throsglwyddo i lygaid y dynion sydd yn syllu ar y papyrau yn gordoi y muriau; maent yn synu pa fodd y daeth Saint y Dyddiau Diweddaf i feddu y fath awdurdod yn y lle. Yna darllenant hanes y darlithoedd ag y mae'r brawd J. Taylor yn bwriadu eu traddodi (admission free) mewn neuadd fawr yn nghanol y dref.

Mae y llythyr bychan hwn yn llawn; af rhagwyf yn y nesaf i ddarlunio y darlithoedd a'r ddadl. Fy'm serch atoch oll.

Wm. Howell.

[Gwelsom hysbysiad yn yr "Interpreter" am y ddadl a fu rhwng y brawd Taylor a thri neu bedwar o bregethwyr sectaraidd yn Boulogne. Nis clywsom yn iawn etto pa fodd y bu, ond bydd i ni gyhoeddi y cwbl pan glywom.—Gol.]

---

## RHEILFFORDD TRWY Y LLYN HALEN.

Ystyrid unwaith fod yn anmhosibl gwneyd rheilffordd o'r Mississipi ar hyd y tir i'r Môr Tawel, heibio i Ddinas y Llyn Halen,

gan fod o ddeuddeg i bymtheg cant o filltiroedd o'r ffordd yn amddifad o goed, trigolion, a defnyddiau gwasanaethgar tuag at gynnal y reilffordd. Ond dywed y "New York Tribune" fod darganfyddiad diweddar wedi ei wneyd wrth droed fryniau y Mynyddoedd Creiglyd, o fodoliaeth cyflawnder o lo *cannel* gerllaw tarddiadau yr afonydd Nebraska neu Platte, sef ar ffordd yr ymfudwyr i'r Llyn Halen; a bydd y glo yn ateb dyben yn lle y coed. Mae yn hysbys hefyd fod mŵn haiarn i'w gael o gyffiniau Missouri i'r Mynyddoedd Creiglyd; a thrwy glo fod wrth law, gellir gweithio reiliau yn y man. Nid oes un anhawsdra, ynte, i wneyd "prif-ffordd" i ddinas y Saint; gan hyny buan y delo i ben.

---

## O'R DYFFRYN.

Copiwn o'r "Frontier Guardian" diweddaf, y dyfyniad canlynol o lythyr a ysgrifenwyd yn Ninas y Llyn Halen, Deseret, Tachwedd 19, 1849, gan y Llywydd Brigham Young, at yr Henuriad Orson Hyde:—

"Yr oeddych wedi darparu digonedd o ddefnydd bara, &c., i'r cwmnïoedd; dymunai llawer o honynt yn awr pe byddai ganddynt hanner barilaid o siwgr, yn lle eu dwy barilaid blawd, o herwydd y mae yma ddigonedd o wenith, haidd, ceirch, ac hyddwenith, ynghyd â chloron, erfin, carrots, beets, pumpkins, squash, &c. A wyf fi yn dweyd fod digonedd o gloron? Ydwyf! oblegid yr wyf yn gweled llawer o honynt yn feunyddiol; a gadewch i mi ddweyd, daeth brawd, y dydd arall, â thriarddeg ar hugain o fwsheli o gloron i swyddfa'r degwm, fel y degfed o gynnyrch un bwshel o had; yr oedd y cyfan a gododd yn dri chant a deg ar hugain o fwsheli. Cododd brawd arall (Halliday) oddiwrth un bwshel o wenith, gant a phedwar ugain o fwsheli. Felly, fe welwch fod genym ddigon o ymborth—lluniaeth i ddyn ac anifail mewn cyflawnder; a dymunwn arnoch i yru yn mlaen bob cynnorthwy a alloch. Mae'r gwaith yn fawr, a gweithwyr yn anhawdd eu cael. Talwn ddolar a chwarter y dydd i law-weithyddion cyffredin, ac o ddau i dri i grefftwyr, trwy y cynnyrch uchod, ynghyd â choffi, tê, siwgr, llestri, dillad, botasau ac esgidiau, cig, &c., neu mewn aur pur, os ewyllysiant. Dysgwyliwn y bydd y tymmor nesaf yma yr un modd, ond ychydig yn well, a gwahoddwn bawb i ddyfod a allo ffeindio eu ffordd yma, ac a foddlonant aros wedi dod, a gweithio i adeiladu Seion. Boed i fendithion y Nefoedd orphwys arnoch tra yn cynnorthwyo i adeiladu teyrnas Dduw, yw gweddi eich brawd cariadus yn efengyl Iesu Grist

"Brigham Young."

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR ABERTEIFI.

Cynnaliwyd cymmanfa y swydd hon yn Nghapel St. Silin, ar y 21ain o Orphenaf, pryd y cynnrychiolwyd pedair o gangenau, yn cynnwys 12 o henuriaid, 9 o offeiriaid, 2 athraw, a 3 diacon; wedi eu bedyddio, 9; y cyfanswn, 80. Yr oedd cannoedd wedi ymgynnull, a chafwyd cymmanfa dda.—Alfred Clark, llywydd; J. James, ysgrifenydd.

### CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG.

Cymmanfa chwarterol y gynnadledd hon a gynnaliwyd yn y Trades' Hall, Abertawy, ar yr 21ain o Orphenaf. Cynnrychiolwyd 17 o gangenau, yn cynnwys 1 archoffeiriad, 66 o henuriaid, 38 o offeiriaid, 31 o athrawon, a 14 o ddiaconiaid; bedyddiwyd, 29; torwyd allan, 17; bu farw, 1; cyfanswm, 534. Pregethwyd gan y Llywydd Williams, Dr. L. Richards, Pugh, Henshaw, ac ereill. Prydnawn dranoeth, cynnaliwyd cyfarfod i yfed tê ac areithio, yn mha un y cymmerwyd rhan gan y Llywydd Phillips a'r henuriaid uchod. Felly y terfynodd un o'r cymmanfaoedd goreu a gafwyd hyd yn hyn yn Abertawy.—E. Williams, llywydd; J. R. Roberts, ysgrifenydd.

### SIR BENFRO.

Cynnaliwyd cymmanfa sir Benfro, yn Hwlffordd, ar y 28ain o Orphenaf, pryd y cynnrychiolwyd 10 o gangenau, yn cynnwys 18 o henuriaid, 9 o offeiriaid, 7 o athrawon, a 4 o ddiaconiaid; bedyddiwyd, 14; torwyd allan, 5; cyfanswm, 185. Cafwyd llawer o addysgiadau gwerthfawr oddiwrth yr Henuriaid T. Pugh a J. Morris, y rhai, gobeithiwn, a fyddant ar gof y Saint yn hir. —J. Morris, llywydd; D. Williams, ysgrifenydd.

---

## AMRYWIAETHAU.

Awst.—Mae cyfartaledd cyffredin gwres y mis hwn (60 o raddau) yn cyrhaedd eiddo Gorphenaf mor agos, fel ag y mae Awst twymn-sych yn fynych yn digolledu am dymheredd isel yn y mis blaenorol. Yn nechreu Awst y cawn yn aml y gwlaw trymaf yn y flwyddyn. Gorphenaf ac Awst o hyd yw ein misoedd twymnaf, ac yn fynych y gwlypaf hefyd. Gwyntoedd dwyreiniol

a gorllewinol sydd yn cael yr uchafiaeth yn awr, ond pan fyddo gwlaw trwm y mae'r gwynt yn arferol o ostegu. Mae y cynauaf, yn gyffredin, yn dechreu tua chanol y mis, eithr tua'r diwedd mewn tymmorau diweddar. Addfeda yr haidd yn gyntaf, ac yna y gwenith a'r ceirch. Dechreua afalau a phêr addfedu y mis hwn, a'r eirin i raddau. Mae amrywiol o flodau dyeithriol hefyd yn blodeuo tua'r un amser.

GWR CLOFF Y DEML.—Dywed Peter Williams, yn ei sylwadau ynghylch ffydd y gwr cloff, a grybwyllir yn Act. iii, 1—11, fel y canlyn:—"Am y cloff, ystyriwn nad yw cloffni, na thlodi, &c., yn arwydd fod Duw yn dibrisio y cyfryw; y mae yn bosibl y deuant â'u hesgeiriau cloff, yn gynt i borth y nef nâ llawer gwr gwisgi;—ond, daliwch sylw, *edrych arnom ni*, medd yr Apostol; a diammau fod yr Apostol yn edrych arno yntau, a gweled ganddo yr un ffydd ag a welodd Paul gan yr efrydd yn Lystra: y mae Duw yn rhoi ffydd, lle y mae ar fedr rhoi iechyd." Onid yw y Pedr uchod, yn y sylwadau hyn, yn gymmaint o Formon â'r Pedr gynt? Barned pawb.

DYLED AC ANGHARIAD.—Y sawl a reda i'th ddyled, a fydd yn debyg o redeg i dy angharu am dy ddaioni. Bydd dipyn yn drwsgl wrtho, ac efe fydd dy elyn penaf.

GOFAL.—Cofiwch pan fyddo pob un yn gofalu am dano ei hun, fod gofal yn cael ei gymmeryd am bawb.

YMADAEL.—"Yr wyf yn awr ynghylch gwneuthur rhywbeth na wnaeth y Diafol i chwi erioed," meddai rhyw offeiriad wrth ei braidd pan yn pregethu ei bregeth ymadawol; "a hyny yw, yr wyf yn eich gadael."

TYSTIOLAETH SAFADWY.—Gofynai dadleuwr mewn llys gwladol ychydig amser yn ol i dyst, pa fodd y gwyddai efe fod y dyn a'r fenyw oedd yno yn wr a gwraig; ac atebodd yntau, "O herwydd i mi glywed y fenyw yn difrïo y dyn." Ystyriwyd y dystiolaeth yn safadwy.

SAIL I DAENELLU.—Clywsom i un wraig haeru wrth ei chymmydoges, pan yn siarad am fedydd, mai taenellu oedd yn iawn, o herwydd fod llun ganddi hi yn y tŷ yn dangos Ioan yn taflu dwfr ar ben Crist!

BYWYD SANT.

Yn ddirmygedig gan y byd
Y treulia ef ei oes;
Dangosir iddo wg a gwawd,
Tra bydd yn cario 'i groes.
Nid rhyfedd hyn; can's dyna'r modd
Y cafodd Crist ei drin;
Ni dd'wedodd Ef y byddai'n well
I'w saint, nag iddo 'i hun.

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 21.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. II.] MEDI, 1850. [PRIS $2\frac{1}{2}g$.

## CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr, trwy y Deau a'r Gogledd.

1850.

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

AT YR YMFUDWYR.—Dylai yr holl Ymfudwyr fynu llythyr symudol Seisnig yn eu gwahanol gangenau, ynghyd â gwybodaeth pa bryd y cawsant eu bedyddio, cadarnhau, &c., gan y bydd hyny yn anghenrheidiol. Cawsom lythyr yn ddiweddar oddiwrth y brawd Pratt, yn hysbysu nas gall gael llong i hwylio cyn yr 11eg neu y 12fed o'r mis nesaf, ond yr ymdrecha gytuno am un erbyn hyny. Rhoddir gwybodaeth fanylach etto trwy lythyron, pan y derbynir gwybodaeth gywir.

☞ Gan nad yw y gweddill o Hanes Cymmanfa Gyffredinol Dinas y Llyn Halen yn cynnwys nemawr o ddim perthynol i'w wybod yn fuan, meddyliasom mai gwell oedd ei gadw erbyn ein rhifyn nesaf, er mwyn cael lle i bethau dyddorol ereill yn hwn.

"W. W."—Nid oes dim o'r Hen Lyfr Hymnau i'w cael, eithr y mae digonedd o'r Newydd.

☞ Yr ydym wedi newydd argraffu "Cyfarwyddiadau i'r Ymfudwyr tua Dinas y Llyn Halen, mewn llythyr oddiwrth W. Morgan, Kanesville, Iowa, at yr Henuriaid W. Phillips a J. Davis, Merthyr; yn yr hwn y cynnwysir llythyr oddiwrth yr Apostolion Benson a Smith, ynghyd â Chapt. D. Jones; hefyd dwy Gân gan Gwilym Ddu." Amcanwyd y cyfan i'w gosod yn yr Udgorn, ond methasom gael lle iddynt; ac o ganlyniad, anfonwn hwynt yn lyfryn ceiniog i bob cangen, yn ol 7s. 6ch. y cant, gan hyderu na fydd neb yn anfoddlawn i'n heofndra yn anfon heb orchymyn. Bydd y Cyfarwyddiadau yn werthfawr i bob ymfudwr, ac am hyny achubed pawb y cyfle, gan na fydd ond ychydig yn cael eu hargraffu.

☞ Mae llawer o ohebiaethau yn ein meddiant, a chaiff y rhai da o honynt ymddangos yn eu tro, pan y caffom le iddynt.

☞ Bydd Hanes Cymmanfa Manchester yn bur debyg o fod yn ein rhifyn nesaf.

"T. T."—Mae bod y swyddogion yn ddiystyr o'r ffurf weddiau a orchymynasom eu harferyd yn y Swper santaidd, yn sicr o dristâu ysbryd Duw.

☞ Wedi argraffu mwy na hanner yr Udgorn, derbyniasom lythyr tra dyddorol oddiwrth CAPT. JONES, yr hwn a gyhoeddwn yn ddioed.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 21.] MEDI, 1850. [CYF. II.

### PWY YW Y TWYLLWYR?

MYNYCH y gelwir Saint y Dyddiau Diweddaf yn dwyllwyr, yn nghyda phob enw annheilwng arall. Paham y gwneir hyn? Pa beth yw eu twyll? Mae dyn yn ffol os nad oes ganddo reswm dros waeddi twyll. Beth yw y prawf fod y Saint yn dwyllwyr, yn fwy na rhyw enwad arall? Ai o herwydd fod llawer yn dweyd hyny? Gobeithir yn amgen. Ystyria, ddyn, pa beth yr ydwyt yn ei gylch. A wyt ti yn credu y Beibl? Os ydwyt, gwrandaw; pa beth a weli yn athrawiaethau y Saint yn groes iddo? Ai nid yw y Duw a gredant ynddo, yr un fath â'r Duw â ddesgrifia yr ysgrythyrau? ac ai nid yn yr un Arglwydd a'r un Ysbryd Glân y creda y Saint, ag y gorchymyna y Beibl i bawb wneyd? Ië, yn ddiau. Beth, ynte, yw y twyll? Ai ceisio gan ddynion i gredu, edifarhau, a chymmeryd eu bedyddio er maddeuant pechodau? Na, nis gall fod twyll wrth bregethu hen bregeth Pedr ar ddydd y Pentecost; mae hono yn wirionedd. Wel, a all y Saint fod yn dwyllwyr wrth addaw dawn yr Ysbryd Glân i "bawb yn mhell, cynnifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato;" a hyny trwy osodiad dwylaw? Mae hyn i gyd etto yn unol ag ysgrythyr, ac nis gall fod yn dwyll. Yn mha beth y mae'r Saint yn twyllo, ynte? Ai mewn dweyd fod y Dyddanydd hwn yn dwyn ar gof y pethau sydd wedi myned heibio, a mynegi pethau i ddyfod? Ail ddweyd yr hyn a lefarodd Iesu Grist yw hyny. Nid twyll ychwaith yw dweyd, "Eithr eglurhad yr Ysbryd a

roddir i bob un er llesâd," ac y caiff pawb a wnelo ewyllys y Tad wybodaeth o'r gwirionedd. Ai twyll, ynte, yw dweyd fod yr Ysbryd yn cyfranu i bawb o'r neilldu, megys y mae yn ewyllysio? ac ai twyll yw annog i ddeisyf y doniau ysbrydol? Os mai, twyll hefyd a ysgrifenodd Paul. Pwy, gan hyny, yw y twyllwyr? Nid y rhai sydd yn glynu wrth yr ysgrythyrau, gan nad pwy ydynt. A oes rhywbeth yn dwyllodrus yn y Saint wrth ufyddhau i orchymyn Iago, i alw henuriaid, eneinio ag olew, gweddio yn ffyddiog, a dysgwyl i'r Arglwydd gyfodi y claf i fyny? Dim yn y mesur lleiaf. Chwilied pawb i mewn cyn sôn am dwyllwyr. Nid twyllwyr yw y sawl sydd yn credu pob peth a ddysgodd Crist a'i apostolion. Pwy yw y twyllwyr, ynte? Wel, os oes rhaid galw twyllwyr ar rywrai, galwer hyny ar y rhai a fyddont yn efengylu yn wahanol i Paul a'i frodyr, hyd y nod pe byddent angylion; canys fe ddywed Paul, "Eithr pe byddai i ni, neu i angel o'r nef, efengylu i chwi amgen nâ'r hyn a efengylasom i chwi, bydded anathema." Pe cofiai pawb eiriau yr apostol, ni fuasai achos i neb betruso "pwy yw y TWYLLWYR!"

---

## ARDDODIAD DWYLAW.

YN "Seren Gomer," am y mis hwn, ymddengys sylwadau gan Mathetes ynghylch y "Sant Fonglerciddiwch;" sef bod un o'r Saint yn y "Drysorfa Gynnulleidfaol" yn dangos y tebygolrwydd sydd rhwng y Bedyddwyr a'r Mormoniaid. Nid yw Mr. Mathetes yn credu mai un o'r Saint a ddarfu ysgrifenu; ond etto, gan fod yr ysgrifenydd hwnw yn galw ei hun yn "Sant," ymosoda ein dysgawdwr arno fel ar un o'r Mormoniaid, gan ddefnyddio y geiriau "Satanaidd," "cethern," gwallgof," "Joe," &c., yn arfau ei filwriaeth. Nid ein bwriad ni yn awr, o herwydd diffyg lle, yw sylwi ar ddim o eiddo y parchedig uchod, ond yn unig dyfynu ei farn ar osodiad dwylaw (gwel tud. 262):—

"Arddodiad dwylaw a ddaw dan ei bawenau yn nesaf. Mae yr hyn a ddywed am hyn yn fwy tebyg i wirionedd nâ'r hyn a lefarai o'r blaen. Mae yn wir fod rhai yn mysg y Bedyddwyr yn dodi dwylaw ar y bedyddiedigion ar eu derbyniad i gymundeb eglwysig; ond nid yw yn rheol gyffredinol berthynol i'r enwad, fel y mae goreu y modd. Mae yr arferiad, o'r tu arall, yn colli

tir yn barhaus; ac hyderir y bydd yn nhir anghof yn mhen ychydig amser. Nid yw y rhai ag sydd yn arfer 'arddodiad dwylaw' yn ein plith ni fel y Mormoniaid, wedi y cwbl; nid yw y Bedyddwyr yn proffesu eu bod yn cyfranu un fendith trwy yr arferiad; ond y mae y gethern Formonaidd yn cymmeryd arnynt roddi yr Ysbryd Glân, er eu bod mor analluog i hyny ag ynt i ddiffodd yr haul. Parch i hen arferiad a duedda y Bedyddwyr i wneyd fel hyn; maent yn debyg i Israel yn addoli y sarff wedi i'w dyddiau gael eu rhifo; tra mae y Mormoniaid, fel Simon Magus, yn ei arfer i ddybenion uchel-geisiol, ac hunanol."

Dyna yw barn y Parch. John Jones, Caersalem Newydd, am osodiad dwylaw. Gwelwch gymmaint llai o barch o rydd y Bedyddwyr i'r "hen arferiad" o osodiad dwylaw, nag i'r "hen arferiad" o fedyddio! Pa bryd y rhifwyd dyddiau gosodiad dwylaw? Mae y Mormoniad yn gosod dwylaw, fel yr apostolion, er mwyn i'w bedyddiedigion dderbyn yr Ysbryd Glân, neu gael eu geni o'r Ysbryd. Bai Simon Magus oedd cynnyg arian am gael yr awdurdod, ac nid dim arall. Mae y Saint yr un mor alluog i osod dwylaw ag oedd yr apostolion, ac y mae Duw yr un mor alluog yn awr i gyfranu yr Ysbryd Glân ag oedd gynt.

Wrth roi heibio, gofynwn i Mathetes os mai "Ysbryd anffaeledig Duw" oedd yn arwain y Saint cyntefig, ynghyd â'r Bedyddwyr yn awr, i odinebu, lledrata, a meddwi? Os nage, nid efe sydd yn arwain neb o'r Mormoniaid i wned hyny.

---

## Y MIL BLYNYDDOEDD.—DONIAU GWYRTHIOL.

[Allan o SEREN GOMER am Ebrill, 1832.]

MR. GOMER,—Os perais gymmaint aflonyddwch i rai o'ch darllenwyr, trwy fy hysbysiad o'r athrawiaeth filflynyddol, beth fydd y cynhwrf a deimlant wrth yr hyn yr wyf yn ei ddadganu yn fy ysgrif bresennol? o herwydd yr wyf yn bwriadu haeru, gyda hyfder, y daliadau canlynol:—sef, *bod yr holl ddoniau gwyrthiol a feddiannwyd gan y brif eglwys yn mhlith canlynwyr yr apostolion a'r efengylwyr, gymmaint yn etifeddiaeth i'r eglwys yn y dyddiau presennol ag yr oeddynt iddynt hwy yn y ganrif gyntaf*, ac nad oes dim yn attal, ond bychander ffydd yn unig, i'r eglwys *wneuthur gwyrthiau* y dydd heddyw gyda'r un mesur o nerth ac awdurdod ag y gweithiodd yn ei hoes gynnaraf.

Yn awr, meddyliaf y gwelaf ryw un yn ymswyn rhagof, ac yn dywedyd,—"Beth yw'r ynfydrwydd hyn? Onid yw oes gwyrthiau gwedi myned heibio?" Ond atebaf y cyfryw trwy ofyniad

arall,—Pa bryd y terfynodd yr oes hono? A pha bryd y tynodd Duw ymaith ei fraint-ysgrif oddiwrth yr eglwys? Atebed neb y gofyniad hyn, a myfi a ymrwymaf i wadu y cyfan a ysgrifenais, ac i wneuthur penyd am dano. Eithr yn hytrach y gwirionedd yw, fod Penaeth mawr yr eglwys gwedi rhoddi iddi fraint-ysgrif trwy ba un y cynnysgaethodd hi â doniau gwyrthiol, ac ni thynodd erioed mo honi ymaith trwy un weithred ganlynol, ac nid oes dim ond anghrediniaeth yn attal cyflawn arferiad o'r holl ddoniau gogoneddus hyn. Er prawf, ein Harglwydd Iesu Grist, wrth ymadael â'i ddyscyblion ar ei esgyniad i'r nefoedd, a ddywedodd, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur, y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig; eithr y neb ni chredo a gondemnir. A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant: yn fy enw i y bwriant allan gythreuliaid; ac â thafodau newyddion y llefarant; seirff a godant ymaith; ac os yfant ddim marwol, ni wna iddynt ddim niwed; ar y cleifion y rhoddant eu dwylaw, a hwy a fyddant iach." Marc 16, 15, &c. Yn awr, pa le y mae y gwahaniad rhwng yr addewid o gadwedigaeth trwy ffydd a'r addewid o ddoniau gwyrthiol? a pha le mae yr awdurdod i ddywedyd fod y diweddaf i derfynu yn yr eglwys o flaen y cyntaf? Ond yn y gwrthwyneb, pan mae yr un amgylchiad yn cael ei fynegi yn Mat. 28, 18, &c., sonir am yr un gallu, a'i barhad trwy oes y byd, gan ddywedyd, "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear; ac wele, yr wyf fi gyda chwi bob amser *hyd ddiwedd y byd.*"

Yr oedd y doniau hyn yn ymddangos yn mhlith y prif Gristionogion mewn modd llewyrchus, fel yr oedd yr ysbryd yn rhanu i bob un o'r neilldu, er adeiladaeth yr eglwys, megys y gwelir yn 1 Cor. 12, "Canys i un trwy yr Ysbryd y rhoddir ymadrodd doethineb,—ac i arall ffydd,—ddawn i iachâu,—wneuthur gwyrthiau,—brophwydoliaeth,—wahaniaeth ysbrydoedd,—amryw dafodau,—gyfieithiad tafodau." Bod y doniau hyn yn hanfodi yn yr eglwys yn y ganrif gyntaf, nid oes neb o Gristionogion yn ceisio ammau. Ac y mae pawb hefyd yn barod i gyfaddef eu parhad trwy ystod yr eilfed ganrif. Y mae hefyd awdurdod hanesiol eu bod hwy yn cael eu harferyd yn y drydedd ganrif, ac hyd y nod yn y bedwaredd ganrif; ac y mae rhai yn credu y gallant eu holrhain yn mhlith credinwyr mor bell i lawr â'r seithfed ganrif; ond eu bod yno trwy anghredin-

iaeth, bydolrwydd, a llygredigaeth Pabyddiaeth, gwedi llesgâu a'u tywyllu i'r fath raddau, nad yw hawdd iddeu rhanu oddiwrth gau wyrthiau eglwys Rhufain. Ond gofynaf etto, Pa bryd y pallodd y doniau gwyrthiol? Os anaml yr ymddangosasant yn y dyddiau diweddar o lygredigaeth crefydd a gwendid ffydd, beth am hyny? Onid yw yr amgylchiad yn gysson ag ymddygiad Duw tuag at ei bobl dan yr oruchwyliaeth Iuddewig. Yn yr amser cyn galwad Samuel, "Gair yr Arglwydd oedd werthfawr yn y dyddiau hyny; nid oedd weledigaeth eglur." Ac ar ol hyny, yr Arglwydd ni atebai i Saul, "na thrwy freuddwydion, na thrwy Urim, na thrwy brophwydi." A thebygol yw, fod prinder mawr o weithrediadau gwyrthiol yn yr eglwys Iuddewig yn yr oesoedd nesaf cyn geni Crist. Felly, os blinwyd yr Ysbryd, a pheri anamlhau ei eglurhadau dan drawslywodraeth eglwys Rhufain, ac yn y dyddiau diweddar, o egwander ffydd, ac o anghredin-iaeth, pa ryfeddod yw?

Eithr rhai a haerant ei fod gwedi ei benderfynu y byddai i'r doniau hyn gael eu dileu trwy weithred awdurdodol; ac i'r dyben i brofi hyn adroddant 1 Cor. 13, 8, 9,—"Pa un bynag ai prophwydoliaethau, hwy a ballant, ai tafodau, hwy a beidiant, ai gwybodaeth, hi a ddiflana. Canys o ran y gwyddom, ac o ran yr ydym yn prophwydo;" ac yna bloeddiant, *Buddugoliaeth.* Yn awr, yr wyf mor barod â hwy i gyfaddef y bydd i'r pethau hyn ballu,—ond pa bryd? gadêwch i'r adnod ganlynol ddangos:—"Eithr *pan ddelo yr hyn sydd berffaith*, yna yr hyn sydd o ran a ddilëir." Nid oes neb a ddywed fod *yr hyn sydd berffaith*, y TO TEΛEION, eisoes gwedi dyfod, oblegid "gweled yr ydym yr awrhon trwy ddrych, mewn dammeg;" ond pan ddel, yna ni a welwn "*wyneb yn wyneb.*" Y mae yn ddiammheuol mai *yr hyn sydd berffaith* yw teyrnasiad personol Crist ar y ddaear, yn ei ail-ddyfodiad, pan y gwelwn wyneb yn wyneb; ac hyd nes y delo yr amser gwynfydedig hyn o *adferiad pob peth*, ac o sefydliad y deyrnas filflynyddol mae y doniau ysbrydol i barhau yn etifeddiaeh i'r eglwys, yn gystal â phob gweithrediad addawedig o eiddo'r Ysbryd Glân; ac yna ni bydd achos wrthynt mwyach, o herwydd ffydd a derfyna mewn gweledigaeth, a gobaith mewn mwynhad.

Os felly ydyw, ynte,—os oes gan yr eglwys y fath hawl i'r doniau hyn, paham nad yw hi yn eu meddiannu? Atebaf,—O

herwydd nad yw hi ddim yn eu ceisio; ïe, yn mhlith yr holl gynnulleidfaoedd ag sydd yn myned dan enw eglwysi, pa rai sydd yn gweddio am ddoniau gwyrthiol? ac os nad ydynt yn eu ceisio, ond yn hytrach yn ei farnu yn goelgrefyddol i weddio am danynt, a ydyw yn beth rhyfedd eu bod yn amddifad o honynt? Eithr beth mae yr ysgrythyr yn ei ddywedyd? "*Deisyfwch ddoniau ysbrydol; ond yn hytrach fel y prophwydoch.*" 1 Cor. 14, 1; ac hefyd,—"*Deisyfwch y doniau goreu.*" Yn awr, pa fodd y all neb, yn eu galw eu hunain yn Gristionogion, ddiystyru gair Duw gymmaint â gosod ar y neilldu orchymyn mor eglur â'r un uchod? A chan ys pa fodd y derbynier fy marn gan eich darllenwyr, yr wyf yn haeru nad oes un eglwys neu enw o grefyddwyr yn gywir mewn athrawiaeth, os nad yw yn arddel ei hawl i ddoniau ysbrydol, nac yn iawn mewn arferion, os nad yw yn gweddio am danynt, sef yr amrywiol ddoniau uwch-naturiol a enwir yn y 12fed ben. o 1 Cor.

Unwaith etto clywaf y "*paham?*" yn cael ymadroddiad. *Paham* na welwn y doniau hyn yn ymddangos yn rhyw un neu gilydd? ac yn benodol yn yr ysgrifenydd, yr hwn sydd yn dadleu mor hyderus dros eu hanfodiad? Atebaf, pe byddai genyf ffydd mor gadarn â gallu eu derbyn, a santeiddrwydd buchedd mor bur â dysgwyl am eu derbyniad; etto, meddyliaf mai nid er boddhau dymuniad rhyw *un* credadyn, yn ei unigol gais ei hun, y cyfrenir yr amrywiol ddoniau hyn, eithr er adeiladaeth i'r *eglwys* megys *corff*, canys felly yr amlygir yn y pennodau a gyfeiriwyd atynt uchod. Ac megys y dywedais gynt ei fod yn annichonadwy deall yr ysgrythyrau, heb dderbyn yr athrawiaeth filflynyddol; felly yr ydwyf yn awr yn haeru fod rhan fawr o'r Testament Newydd yn anmherthynasol i gyflwr yr eglwys yn y dyddiau presennol, oddieithr fod y doniau ysbrydol yn addawedig iddi trwy bob oes o'i hanfodiad milwriaethol, yn ystod yr oruchwyliaeth hon; oblegid nid yn unig trwy ambell ymadrodd yma ac acw y cyfeirir at y pethau hyn, ond y mae amryw ranau helaeth o ysgrifeniadau yr apostolion yn cyfeirio at adferiad a choleddiad o'r doniau gwyrthiol, a'r rhanau hyny hefyd gwedi eu cymmysgu mor hollol ag athrawiaethau egwyddorol ac anghyfnewidiol yr efengyl, fel nas gwn pa fodd y gall neb gymmeryd arno eu gwahanu, neu ddywedyd fod iddo awdurdod i wrthod un gyfran, pan fyddo yn derbyn y nall. C.

## Y TAD, Y MAB, A'R YSBRYD GLAN.

### YR YSBRYD GLAN.

Ar ol rhoi addewid yn rhifyn Gorphenaf i sylwi ar yr Ysbryd Glan yn yr un canlynol, rhwystrwyd ni i'w chyflawni cyn y rhifyn hwn; a chan mai gwell hwyr na hwyrach, ymosodwn yn awr i wneuthur hyny, er i ni gael gorphen ein sylwadau.

Mae yr Ysbryd Glan, yr hwn sydd yn ran o'r Duwdod, hefyd yn ddefnydd sylweddol, o'r un natur a phriodoleddau mewn llawer o bethau, ag ysbrydion y Tad a'r Mab. Y mae yn bodoli, fel ag yr awgrymasom o'r blaen, mewn cyflawnder anfesuradwy, mewn cyssylltiad â phob byd defnyddiol. Gelwir ef yn Dad yn yn yr ysgrythyrau, yn gystal â'r Tad a'r Mab. Nid all Duw y Tad a Duw y Mab fod yn holl-bresennol; yn wir nis gallant fod hyd y nod mewn dau le ar unwaith: ond y mae Duw yr Ysbryd Glan yn holl-bresennol—y mae yn cyrhaedd trwy bob gwagle, gan ymgymmysgu â phob rhyw ddefnydd arall; etto, nis gall un gronyn o'r Ysbryd Glan fod mewn dau le ar yr un eiliad, yr hyn yn mhob amgylchiad sydd yn gwbl anmhosibl. Mae yn rhaid ei fod yn bodoli mewn cyflawnder anhysbyddiadwy, yr hyn yw yr unig ffordd i unrhyw ddefnydd allu bod yn holl-bresennol. Mae holl ryfeddodau aneirif y greadigaeth, yn eu dechreuad, wedi cael eu cynnyrchu trwy bresennoldeb y sylwedd gwybodus, holl-ddoeth, a holl-alluog hwn a elwir yr Ysbryd Glan. Hwn yw y defnydd bywiocaf yn y bydyssawd, gan eu fod yn gweithredu yn unol â rheolau gosodedig o eiddo ei hun, mewn cyssylltiad a'r Tad a'r Mab. Nid yw yr hyn a elwir yn gyfreithiau natur yn ddim mwy na llai na'r dull gosodedig sydd gan y sylwedd ysbrydol hwn i weithredu. Y mae pob gronyn o'r Ysbryd Glan yn wybodus, ac fel rhyw ddefnydd arall yn meddu caledrwydd, ffurf, a maintioli, ac yn llanw lle. Nid all dau ronyn o'r ysbryd hwn lanw yr un lle ar yr un amser, ac nid all un gronyn, fel y sylwasom eisoes, lanw dau le ar yr un amser. Nid yw yn y pethau hyn yn gwahaniaethu yn y gradd lleiaf oddiwrth bob defnydd arall. Yr hyn sydd yn ei hynodi oddiwrth ryw ddefnydd arall, yw ei bwerau hollalluog a'i ddoethineb anfeidrol, a llawer o briodoleddau gogoneddus ereill, y rhai nid yw defnyddiau ereill yn eu meddu. Pe buasai

amrywiol o ronynau yr Ysbryd hwn yn bodoli ynghyd ar ddull person, yna buasai y person hwnw o eiddo yr Ysbryd Glan yn ddarostyngedig i'r un angheurheidrwydd â'r ddau berson arall o'r Duwdod, hyny yw, nid allai fod yn bresennol yn mhob man. Nid all rhif terfynol o ronynau fod yn holl-bresennol: rhaid fod rhif annherfynol o ronynau, er bod yn holl-bresennol mewn gwagle annherfynol. Nid yw dau berson ag sydd yn derbyn dawn yr Ysbryd Glan, ddim yn derbyn yr un gronynau o hono yr un pryd, er fod pob un yn derbyn sylwedd ag sydd yn gymhwys o'r un natur. Byddai yr un mor anmhosibl i'r ddau dderbyn yr un gronynau ar yr un pryd, ag a fyddai i ddau ddyn yfed, ar yr un amser, yr un cwpanaid dwfr.

Gall y gwahanol ranau o'r Ysbryd hwn gymmeryd arnynt wahanol ddulliau, fel y mae yn amlwg oddiwrth ei fod yn ymddangos ar un pryd ar lun colomen, ac megys tafodau gwahanedig o dân bryd arall. Mae yn amlwg hefyd oddiwrth fod yr Iachawdwr yn llefaru am dano fel person: "Ond pan ddêl *efe*, sef Ysbryd y gwirionedd, EFE a'ch tywys chwi i bob gwirionedd; canys ni lefara o hono ei hun, ond pa bethau bynag a glywo, a lefara EFE; a'r pethau sydd i ddyfod, a fynega EFE i chwi." (Ioan xvi, 13.) Nid oes fwy o anghyssondeb mewn bod un rhan o'r Ysbryd yn bodoli ar lun person, nag sydd mewn bod rhan arall yn bodoli ar lun colomen, ac amrywiol ranau ereill yn bodoli ar lun tafodau gwahanedig o dân.

Mae yn amlwg fod y defnydd hollalluog a elwir yn Ysbryd Glan wedi ei wasgaru yn helaeth iawn; oblegid dywedir am dano yn Gen. i, 2, ei fod "*yn ymsymud ar wyneb y dyfroedd*;" ac yn Job xxvi, 13, dywedir i Dduw "*addurno y nefoedd a'i Ysbryd.*" Yr oedd gan Dafydd Frenin ryw feddylddrych am y cyflawnder mawr sydd o'r sylwedd hwn, ac am ei wasgariad cyffredinol, pan y gofynodd, "I ba le yr af oddiwrth dy *ysbryd*?" (Salm cxxxix, 7.) Mae yn ymddangos mai yr ysbryd ag oedd yn ymsymud ar wyneb y dyfroedd, oedd yn offeryn yn llaw Duw i ddwyn daear afluniaidd a gwag yn drigfa i ddynion ac anifeiliaid; ac ymddengys mai yr un ysbryd hefyd fu yn offeryn gan Dduw i ledaenu y nefoedd, a'i hardderchogi ag haul, lloer, sêr, a phlanedau. Yr oedd yr Ysbryd hefyd yn gynnorthwywr i'r Tad a'r Mab yn ngwneuthuriad dyn; canys dywed Elihu, yn Job xxxiii, 4, "Ysbryd Duw a'm gwnaeth i; ac anadl yr Hollalluog a'm

bywiocaodd i." Ond, efallai, mai yr hyn sydd yn profi y pwnc hwn oreu o ddim, yw yr addewid a roddodd Joel (gwel Act. ii, 17.) sef, "A bydd yn y dyddiau diweddaf (medd Duw) y *tywalltaf o'm Hysbryd ar bob cnawd.*" Yn awr, y mae amser i ddyfod pan y bydd prawf cyffredinol yn cael ei roddi, mai sylwedd o'r fath a ddarluniwyd, yr hwn sydd yn bodoli ar wahan oddiwrth y Tad a'r Mab, yw yr Ysbryd Glan; canys fe fydd pob cnawd yn ei dderbyn yr un amser; a chan y bydd pob cnawd yn wasgaredig ar hyd y ddaear, mae yn rhaid y bydd yr Ysbryd yn wasgaredig hefyd, ac yn "ymsymud" ar wyneb y cyfan er adnewyddu pob peth. Duw yw y person fydd yn ei *dywallt*, yr hyn a ddengys, er mai Ysbryd yw Duw, mai nid Duw yw yr Ysbryd fydd yn cael ei dywallt ar bob cnawd, ond sylwedd hollol ar wahan. Pan y soniwn am yr Ysbryd Glan yn wasgaredig yn mhob man, nid ydym yn golygu ei fod yn llanw pob cyfran fechan o wagle; o herwydd, pe felly byddai, ni fuasai lle i un defnydd arall. Buasai sylwedd a lanwai pob gwagle yn llwyr, yn galedgorff anfeidrol, heb fân-dyllau ac yn ansymudol yn ei holl ranau; o ganlyniad, mae yr Ysbryd yn bodoli mewn gwahanol ranau o wagle, mewn graddau mwy neu lai o dewedd, megys gwres, goleuni, a gwefr. Y sylwedd gogoneddus ac hollalluog hwn sydd yn llywodraethu ac yn rheoleiddio pob sylwedd arall â'i bresennoldeb, ac yn cynnyrchu yr holl ryfeddodau a briodolir i gyfreithiau natur; ynddo yr ydym yn bodoli, yn byw, ac yn symud, a thrwyddo y derbyniwn ddoethineb a gwybodaeth, ac yr arweinir ni i bob gwirionedd, yn gyferbyniol i'r modd y caniatawn iddo i drigo o'n mewn ac y derbyniwn ei addysgiadau nefolaidd.

Fe ddysgwylir, oddiwrthym, efallai, brofiadau ysgrythyrol o eirwiredd ein sylwadau ynghylch fod yr Ysbryd Glan yn sylwedd ar wahan oddiwrth y Tad a'r Mab, ac fe ymdrechwn eu rhoddi. Addawai Ioan Fedyddiwr i'w ddyscyblion, y cawsent eu bedyddio â'r Ysbryd Glan ac â thân (Math. iii, 11). Llefarir yma am yr Ysbryd, yn yr un modd ag y llefarir am ddwfr neu dân: yr oedd Ioan yn bedyddio â dwfr, a Christ yn bedyddio â'r Ysbryd Glan, yr hwn raid fod yn rhywbeth heblaw Crist a'i Dad. Pan oedd Crist ei hun yn cymmeryd ei fedyddio, ac yn dyfod i'r lan o'r bedydd dwfr, cafodd ei fedyddio yn y man â'r Ysbryd Glan, ar lun corfforol colomen, yn yr amser ag oedd y

Tad yn llafaru o'r nefoedd. Yr oedd y sylwedd ysbrydol hwn yn dyfod oddiwrth y Tad, ac yn disgyn ar ben y Mab, yr hyn sydd yn brawf fod yr Ysbryd Glan yn rywbeth ar wahan oddiwrth y ddau. Etto, yn Act. ii, 2—4, darllenwn fel hyn:—"Ac yn ddisymwth y daeth swn o'r nef, megys gwynt nerthol yn rhuthro, ac a lanwodd yr holl dy lle yr oeddynt yn eistedd: ac ymdddangosodd iddynt dafodau gwahanedig megys o dân, ac efe a eisteddodd ar bob un o honynt: a hwy oll a *lanwyd â'r Ysbryd Glan.*" Dyma yr un sylwedd etto yn dyfod i waered o'r nef, yn ol yr addewid, ac yn llanw yr holl dy, gan gymmeryd arno ffurf tafodau o dân, ac eistedd ar bob un o honynt, ynghyd â'u llanw oddifewn. Nid y Tad na'r Mab oedd y peth yma ag oedd yn bresennol, "eithr hyn oedd y *peth* a ddywedwyd trwy y prophwyd Joel, 'A bydd yn y dyddiau diweddaf (medd Duw) y tywalltaf o'm Hysbryd ar bob cnawd.'" Duw oedd i dywallt y peth yma; a dywed Iesu Grist, "A mi a weddiaf ar y Tad, ac efe a rydd i chwi Ddyddanydd arall, fel yr aroso gyda chwi yn dragywydd:" o ganlyniad, gwelwn mai sylwedd ar ben ei hun yw yr Ysbryd Glan, ac nid un o'r personau a elwir yn Dad a Mab, oblegid hwynt hwy sydd yn ei ddanfon. Prawf arall o hyn yw yr hyn a ddywedir am Stephan yn Act. vii, 55, "Ac efe yn gyflawn o'r Ysbryd Glan, a edrychodd yn ddyfal tua'r nef; ac a welodd ogoniant Duw, a'r Iesu yn sefyll ar ddeheulaw Duw." Yr oedd efe yn llawn o'r sylwedd ysbrydol hwn tra yr oedd yn gweled y Tad a'r Mab yn y nef. Bellach, meddyliwn ein bod wedi dangos digon i brofi fod yr ysgrythyrau yn cyd-dystiolaethu mai sylwedd o'r fath a ddesgrifiwyd, ac un ar wahan oddiwrth y Tad a'r Mab, yw yr Ysbryd Glan.

Mae yr Ysbryd hwn yn alluog i fod yn mhob man ar yr un pryd; ond nis gall yr un gronynau o hono fod yn y nefoedd a'r ddaear yr un pryd. Er hyny, mae y gronynau sydd yn llanw y ddaear yn meddu yr un doethineb, gwybodaeth, gogoniant, a gallu, â'r gronynau sydd yn llanw y nefoedd; gan hyny, er eu bod yn sylweddau gwahanol, etto mae eu perffeithderau a'u priodoleddau yr un. Un doethineb, un gogoniant, un gallu, sydd trwy bob rhan o'r defnydd gogoneddus hwn. Mae yr undeb hwn y fath, fel nad yw y rhan sydd yn llanw y ddaear byth yn croes-weithredu y rhan sydd yn llanw y nefoedd. Medda y sylwedd liosogrwydd o ranau, ond y mae y doethineb yn

anranadwy; y mae yn ddoethineb anfeidrol yn mhob rhan. Ni ellir rhanu doethineb yn rhanau, mwy nag y gellir rhanu cariad, gobaith, llawenydd, neu ofn. Mae gwirionedd yn gymhwys yr un fath yn meddiant un dyn, ag ydyw yn meddiant miliwn, ac nid all gymmeryd ei ddosranu. Gelwir yr Ysbryd Glan yn "Ysbryd y gwirionedd." Er y gellir rhanu y defnydd ag sydd yn meddu y gwirionedd hwn i rifedi aneirif o ranau, i lanw rhifedi aneirif o wagleoedd, etto y gwirionedd yn eu meddiant i gyd sydd UN gwirionedd. Undeb ac annidoledd y perffeithderau a'r priodoleddau hyn sydd yn cyfansoddi undod y Duwdod.

Un peth arall sydd yn dangos nad y Tad na'r Mab yw yr Ysbryd Glan, ond sylwedd arall ar wahan, yw, nad oes sôn yn yr ysgrythyr ei fod byth yn derbyn un math o addoliad. Er y cenir fel hyn:—

> "I Ffynnon pob daionus rodd,
> Rhowch fawl, drigolion byd o'ch bodd;
> Llu'r nef, rhoch glod mewn peraidd gân,
> I'r Tad, a'r Mab, a'r *Ysbryd Glan.*"

etto, nis gallwn ddangos ysgrythyr dros roddi mawl i'r sylwedd hwn a elwir yr Ysbryd Glan. Offeryn ynom ni yw hwn i foli y Tad a'r Mab, ac nid i gael gogoniant ei hunan fwy na ninnau. Os oes rhywun yn gwybod yn amgenach, byddwn ni yn barod i gymmeryd ein dysgu ganddo. Mae yn ofynol fod Ysbryd Duw yn mhawb sydd yn myned i foli Duw; ac yn wir, pan fyddo pobl Dduw yn cael eu harwain gan y Dyddanydd arall, efe yw yr offeryn mwyaf neillduol sydd yn addolf; a phe buasai efe yn addoli yr Ysbryd, ystyriem ni y buasai yn addoli ei hunan.

Meddyliwn yn awr ein bod wedi ysgrifenu digon ar y pen hwn. Os oes rhywrai am eglurhad ychwanegol o natur y sylwedd ysbrydol dan sylw, gwell yw iddynt geisio "eglurhad yr Ysbryd" ei hunan, yr hwn a all ddesgrifio ei hun i ereill yn well nag y gallwn ni; canys "eglurhad yr Ysbryd a roddir i bob un er llesâd" (1 Cor. xii, 7), os bydd iddynt gredu, edifarhau, a chymmeryd eu bedyddio er maddeuant pechodau yn gyntaf. Er hyny, os bydd rhywbeth a allwn ni ei egluro yn mhellach, byddwn bob amser yn barod i wneyd hyny.

---

Wrth gwpla ein sylwadau ynghylch y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan, ymhelaethwn ychydig mewn perthynas i'w hundod. Darllenwn yn 1 Ioan v, 7, "Oblegid y mae tri yn tystiolaethu yn

y nef; y Tad, y Gair, a'r Ysbryd Glan: a'r tri hyn UN ydynt." Nis gwyddom fod son am undod y tri mewn un man arall yn yr ysgrythyr, ond yn unig am undod y Tad a'r Mab, ynghyd â'r dyscyblion. Gellir darlunio y Duwdod trwy gynghor yn cynnwys tri dyn, i gyd yn meddu ar yr un ddoethineb, gwybodaeth, gwirionedd, ynghyd â phriodoleddau cyfartal yn mhob ystyr arall. Buasai pob un o'r personau yn berson a sylwedd cwbl ar wahan oddiwrth y ddau arall, ac etto ni fuasai y tri ond yn cyfansoddi UN cynghor. Gellid ystyried y byddai pob un yn meddu yr un doethineb a gwirionedd ag a fyddai y tri ynghyd neu yr *un* cynghor yn feddu. Ni fuasai undeb y tri dyn mewn un cynghor yn ychwanegu gwybodaeth neu ddoethineb yr un o honynt. Buasai pob un o'r dynion yn *un rhan* o'r cynghor pe gwnelid cyfeiriad at eu personau; ond buasai doethineb a gwirionedd pob un o'r dynion yn gwneyd yr *oll* o ddoethineb a gwirionedd y cynghor, ac nid rhan. Pe buasai yn bosibl rhanu gwirionedd, a phriodoleddau ereill o natur cyffelyb, yn rhanau, fel ag y buasai gan y Tad y drydedd ran o wirionedd, y drydedd ran o ddoethineb, y drydedd ran o wybodaeth, y drydedd ran o gariad, tra y buasai gan y Mab a'r Ysbryd Glan y ddwy drydedd ran arall o'r priodoleddau hyn, yna ni allai un o'r personau hyn wneyd "*un Duw*," eithr yn unig *rhan* o Dduw. Ond gan nas gellir rhanu doethineb, gwirionedd, neu gariad; y mae yr oll o'r priodoleddau hyn yn trigo yn y Tad, yr oll yn y Mab, a'r oll yn feddiannol gan yr Ysbryd Glan. Mae yr Ysbryd Glan yn un rhan o'r Duwdod mewn sylwedd; ond yr oll o Dduw mewn doethineb, gwirionedd, a phriodoleddau cyffelyb ereill. Pe gallai rhyw wirionedd ddyfod yn dri gwirionedd, ar wahan oddiwrth eu gilydd, trwy drigo mewn tri o bersonau neu sylweddau, yna buasai tri Duw yn lle un. Ond fel ag y mae, y mae'r Trindod yn dri mewn sylwedd, ond yn un mewn gwirionedd a phriodoleddau cyffelyb ereill. Ni fwriadwyd undod y Duwdod, megys ag y desgrifir ef yn yr ysgrythyrau, erioed i olygu undod mewn sylwedd, ond yn unig mewn perffeithderau a phriodoleddau.

Geill rhywun ofyn, os yw y Tad yn meddu ar anfeidrol ddoethineb a gwybodaeth, paham nad all efe fyned yn mlaen â'i waith heb gynnorthwy y Mab a'r Ysbryd Glan? Atebwn: mae y Mab yn anghenrheidiol i gymmodi dyn syrthiedig â'r Tad; ac y mae yr Ysbryd Glan yn anghenrheidiol i santeiddio a phuro

tueddiadau dynion, ac i drigo ynddynt megys athraw gwirionedd. Mae cyflawnder dirfawr o'r sylwedd ysbrydol hwn hefyd yn angherheidiol er bod yn bresennol mewn cyssylltiad â phob sylweddau ereill, i'w rheoleiddio a'u llywodraethu yn ol cyfreithiau sefydlog a phenodol, fel y byddo trefn dda ac undeb yn bodoli yn mhob cwr o'r bydyssawd. Mae y Tad a'r Mab yn llywodraethu helaethrwydd creadigaeth, nid trwy bresennoldeb eu hunain, ond trwy bresennoldeb yr Ysbryd. Nid yw undeb y tri yn rhoddi unrhyw ddoethineb a gwybodaeth ychwanegol i'r un o honynt, ond trwy yr undeb y maent yn alluog i gario gwaith yn mlaen na ellid ei gario gan un yn unigol. Gallai un unigol, er enghraifft y Tad, gael gallu i wneyd pob peth na fyddai yn anghydweddol â'i berffeithderau a'i briodoleddau; hyny yw, gallai weithredu lle byddai yn bresennol; ond heb gynnorthwy yr Ysbryd Glan, neu ryw fod arall, ni allai efe, gan ei fod yn berson, werthredu lle na fyddai yn bresennol. Trwy undeb y tri, y mae pob un yn abl i weithredu yn mhob man trwy gynnorthwy y lleill. Gall personau y Tad a'r Mab fod yn y nefoedd, ac etto trwy gyfrwng yr Ysbryd, weithredu ar y ddaear. Mae person holl-bresennol yn beth anmhosibl, ond y mae sylwedd holl-bresennol, gwasgaredig trwy y gwagle, nid yn unig yn beth cysson, ond yn beth rhesymol. Gall personau, trwy gyfrwng y fath sylwedd holl-ddoeth ac holl-bwerus, ddefnyddio gallu hollalluog, ar yr un amser, yn y cyrau pellaf o'r greadigaeth. Heb sylwedd felly mewn undeb ganddynt, ni allent gario yn mlaen weithrediadau mawreddog a galluog natur gyffredinol; oblegid ni all un sylwedd weithredu lle na byddo yn bresennol.

Mae yn ddyledus arnom, cyn tewi, gydnabod ein bod wedi benthyca llawer o sylwadau rhagorol yr Apostol Orson Pratt, ar y pynciau a fu dan sylw, a'u cymmysgu ag eiddo ein hunain. Yn awr yr ydym yn gadael y cyfan gyda'r darllenydd, gan hyderu yr ymddyga yn onest tuag ato ei hun a thuag at y gwirionedd; a bendithion y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan, fyddo ar ei ben.

---

## COFNODION Y GYMMANFA GYFFREDINOL A GYNNALIWYD YN NINAS Y LLYN HALEN FAWR, DESERET, EBRILL 6, 1850.

Yn bresennol o'r Brif-Lywyddiaeth—Brigham Young, Heber C. Kimball, a Willard Richards. Patriarch—John Smith. O'r

Deuddeg Apostol—P. P. Pratt, G. A. Smith, ac E. T. Benson. Llywyddiaeth y Degau-a-thrugain—Levi W. Hancock, Zera Pulsipher, Henry Herriman, ac A. P Rockwood. Llywyddiaeth y *Stake*—Daniel Spencer, David Fulmer, a Willard Snow. Corwm yr Archoffeiriaid—John Young, a R. Cahoon. Esgob Llywyddol—Newel K. Whitney. Ysgrifenydd y Gymmanfa—Thomas Bullock.

Galwyd y Gymmanfa i drefn gan yr Henuriad David Fulmer, Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan yr Henuriad Fulmer, ac yna canwyd.

Yna cyfododd yr Henuriad P. P. Pratt i ddwyn dan sylw waith y dydd, ac heb ddim rhagymadroddi, cydnabyddwyd Brigham Young yn Llywydd ar Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, trwy bleidlais unfrydol, ac hefyd Heber C. Kimball yn Gynghorwr blaenaf, a Willard Richards yn ail Gynghorwr i'r Llywydd Young.

Cynnygiwyd fod John Smith i'w gydnabod yn Batriarch i'r holl Eglwys; cariwyd.

Cynnygiwyd fod Orson Hyde i barhau yn Llywydd Corwm y Deuddeg Apostol; cariwyd: hefyd, P. P. Pratt, Orson Pratt, Wilford Woodruff, John Taylor, George A. Smith, Amasa Lyman, E. T. Benson, Charles C. Rich, Lorenzo Snow, Erastus Snow, a Franklin D. Richards, yn aelodau o'r unrhyw; cariwyd.

Cynnygiwyd fod Willard Richards i'w gydnabod yn Hanesydd a Chofnodydd Cyffredinol yr Eglwys; cariwyd.

Cynnygiwyd fod John Young i'w gydnabod yn Llywydd Corwm yr Archoffeiriaid; hefyd Reynolds Cahoon a George B. Wallace yn Gynghorwyr iddo; cariwyd.

Cynnygiwyd fod Joseph Young i'w gydnabod yn Llywydd blaenaf, Levi W. Hancock yn ail, Henry Harriman yn drydydd, Zera Pulsifer yn bedwerydd, A. P. Rockwood yn bummed, Benjamin L. Clapp yn chwechfed, a Jedediah M. Grant yn seithfed, ar holl Gorwmau y Deg-a-thrugain; cariwyd.

Cynnygiwyd fod Daniel Spencer i'w gydnabod yn Llywydd ar y *stake* hon o Seion; hefyd David Fulmer a Willard Snow yn Gynghorwyr iddo; cariwyd.

Cynnygiwyd fod Henry G. Sherwood i'w gydnabod yn Llywydd yr Uchel Gynghor, ac Eleazer Miller, John Kempton, Haman Hyde, Lewis Abott, W. W. Major, Levi Jackman, Elisha H.

Groves, Ira Eldredge, John Vance, Edwin D. Wooley, a Thomas Grover, yn aelodau o'r cyfryw Gynghor; cariwyd.

Cynnygiwyd fod Newel K. Whitney i'w gydnabod yn Esgob llywyddol Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf; cariwyd.

Cynnygiwyd fod John Nebeker i'w gydnabod yn Llywydd Corwm yr Henuriaid, hefyd James H. Smith ac Aaron Sceva yn Gynghorwyr iddo; cariwyd

Cynnygiwyd fod Joseph Harker i'w gydnabod yn Lywydd Corwm yr Offeiriaid, hefyd Simeon Howd a James A. Chesney yn Gynghorwyr iddo; cariwyd.

Cynnygiwyd fod McGee Harris i'w gydnabod yn Llywydd Corwm yr Athrawon, hefyd John Vance a Reuben Perkins yn Gynghorwyr iddo; cariwyd.

Cynnygiwyd fod William C. Smithson i'w gydnabod yn Llywydd Corwm y Diaconiaid, hefyd Gehiel McConnell a Gilburd Summe yn Gynghorwyr iddo; cariwyd.

Sylwodd yr Henuriad Pratt fod pawb yn rhwymedig mewn dyledswydd ac mewn cyfammod o flaen Duw, i gydnabod a chynnal y gwahanol ddynion hyn yn eu swyddau; a'r rhai hyny a wrthodant eu cynnal, a geir yn tori eu cyfammodau.

Pregethodd y Llywydd Heber C. Kimball bregeth hir a chywir ar sefyllfa bresennol y Saint, gan ei chymharu a'n herlidiau, gyriadau, afiechyd, a'n tlodi blaenorol; annogodd y Saint i ffyddlondeb, ac i fod yn ufydd i gynghorion y dynion hyn, pa rai yr ymgyfammodasom heddyw i ufyddhau iddynt; rhybyddiodd hwynt rhag llithro i lwybrau y byd, gan addoli duw Mammon, a gadael Duw eu hiachawdwriaeth; annogodd hwynt i fod yn ffyddlawn tuag at eu cyrff marwol, fel y byddo iddynt gael eu gwobrwyo â chyrff anfarwol yn y byd a ddaw, a dywedodd yn benderfynol y gallai pob dyn drafaelu yn gyflymach nag y gwnant yn awr, os byddant yn ufydd i'r hyn a leferir wrthynt; a therfynodd trwy fendithio y bobl, fel y byddai i heddwch aros yn eu calonau yn oes oesoedd. Amen.

Canwyd hymn gan y côr, a gweddiwyd gan yr Henuriad Benson.

*Hanner awr wedi un yn y prydnawn.*—Ymgynnullodd y gymmanfa, a galwyd am drefn gan Daniel Spencer; canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan yr Henuriad Orson Spencer, achanwyd.

Cyfododd yr Henuriad Parley P. Pratt, a threuliodd yn agos i ddwy awr i ddwyn o flaen y Saint lawer o amgylchiadau ag oedd efe wedi myned trwyddynt, yn sefydliad cyntaf yr eglwys hon ar y ddaear, ac amrywiol o amgylchiadau gweledig o Ragluniaeth Duw yn ngwahanol symudiadau yr Eglwys hon am yr ugain mlynedd sydd wedi myned heibio, a'r dull yn mha un y maent hwy wedi cael eu cynnal. Gofynodd i ba ddyben oedd yr ychwanegiad hwn mewn gwybodaeth, er addasu y Saint at waith mawr a rhyfedd—adferiad holl lwyth Israel—a dangosodd enghreifftiau, o blith yr Iuddewon a'r Lamaniaid. Dangosodd yn eglur fod yr ysgrythyrau wedi gwneyd daioni mawr iddo ef; a phan yr oedd yn eu darllen, dymunai ragori ar esiamplau Joseph, Dafydd, a Sampson. Gorfoleddai wrth ddarllen athrawiaethau ac addysgiadau ein Harglwydd Iesu Grist; a gwrthbrofodd yn hollol yr athrawiaeth a ddysgwyd gan Moses Martin, mai pum synwyr oedd cynghorwr dyn. Dywedodd fod llyfr mawr Natur wedi bod yn agored, yn ei holl ardderchogrwydd, i'r Utiaid, Shoshoniaid, ac Indiaid ereill, ac yr oedd ganddynt y pum synwyr i'w harwain; cymharodd eu sefyllfa isel â'r rhai hyny ag oedd yn lân ac yn ddiwyd, a'r rhai oedd yn credu yn oraclau dwyfol Duw; annogodd y Saint i ddysgu i'w plant ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist, edifeirwch tuag at Dduw, fel y byddont yn barod i gael eu bedyddio pan yn wyth mlwydd oed; ac annogodd hwynt i gyfarfod yn fynych, a chyfranogi o arwyddlun corff drylliedig a gwaed tywalltedig ein Harglwydd a'n Hiachawdwr. Y mae llawer o bersonau yn awyddus iawn i glywed pregethu ynghylch yr adgyfodiad. Dywedodd nad oedd ganddo ef agoriadau yr adgyfodiad, ond gwyddai pa beth oedd wedi ei ysgrifenu yn ei gylch, gan ei fod wedi bod yn chwilio yn ddiwyd am yr ugain mlynedd diweddaf; a chan ei fod yn awr yn gweled rhagor o oleuni ar hyny, ymresymai ei fod yn gweled trwy ddrych yn aneglur, ond mewn ugain mlynedd etto gallai gael ychwaneg o oleuni ar y pwnc. Mae y meddylddrych gan rai personau, pan fyddo un o Saint Duw yn marw, ac wedi adgyfodi oddiwrth y meirw, ei fod yn myned at y Duwiau, a'i fod yn gwneuthur fel ag y maent hwy yn gwneuthur: ond, meddai efe, ni feddwyf y meddylddrych fod dyn yn myned yn union i'r gogoniant nefol, ond y bydd iddo ddyfod i'r ddaear, a diwygio ei hun yn mhethau Duw hyd nes y bydd yn cael ei berffeithio. Gofynodd pa beth

oedd meddwl yr ysgrythyr hono ag sydd yn dweyd, " Efe a heuir yn gorff anianol, ac a gyfodir yn gorff ysbrydol ?" Gelwir hwynt yn anianol, o herwydd eu bod yn marw; ac y mae yn iawn i'w galw hwynt yn ysbrydol, o herwydd eu bod yn cael eu bywhau gan Ysbryd Duw; y maent yn dymmorol, oblegid eu bod yn perthyn i bethau tymmorol; y mae yn amser, oblegid nad yw y ddaear wedi myned heibio. Pan fyddo y ddaear wedi ei phuro, ni fydd amser mwyach; yr hyn a alwn ni yn ddiwedd amser yw yr olygfa o ddirwyniad y ddaear hon i fyny; y mae yn cael ei gwneyd yn newydd, ac y mae tragywyddoldeb yn dechreu; mae y ddaear yn myned heibio ac yn ymnefoleiddio. Un peth yw symud y felldith oddiar y ddaeur, a pheth arall yw ei phuro; ac y mae llawer o wahaniaeth rhwng bod wedi ein rhyddhau oddiwrth farwolaeth, poen a thrueni, a bod wedi ein hadferyd i ogoniant a godidawgrwydd ieuenctyd. Annogodd y Saint ffyddlawn i ddarllen ei bendithion patriarchaidd, hawlio yr addewidion a gynnwysant, ac ychwanegu pob peth da a allent feddwl am dano; ac nid hyny yw yr oll a gânt; oblegid y mae yr Iesu wedi addaw, mai pwy bynag a adawo dad, mam, gwraig, neu blant, tiroedd neu feddiannau, er ei fwyn ef, y caiff hwnw dderbyn y can cymmaint yn yr amser hwn, ac yn y bydoedd a ddaw fywyd tragywyddol. Dywedodd fod marwolaeth ac adgyfodiad fel myned i gysgu yn y nos a chodi yn y boreu. Mae hyn yn agor yr ysgrythyr hono sydd yn dweyd, " Myfi a greais bob peth: yn gyntaf, yr ysbrydol, yna y tymmorol. Etto, yn gyntaf y tymmorol, yna yr ysbrydol; o herwydd i mi fy hun, nid oes i'm gwaith ddechreu na diwedd." Yr oeddem yn gyntaf yn ysbrydol, yna aethom dan y felldith; yna cymmerasom radd dymmorol uchelach, ac yn ddiweddnf radd ysbrydol uchelach. Carswn gyfodi a gweled pethau yn diwygio, gweled y mynyddoedd hyny yn cael eu gwastatâu, y gwastad-diroedd diffrwyth hyny yn troi allan eu llynoedd dwfr, a'r holl gleddyfau, gwaywffyn, a gwn-farilau yn cael eu casglu i efail y gof, a'u gwneyd yn offerynau i wrteithio y ddaear; cael mil o flynyddoedd o heddwch, casglu fy mhlant tlawd a gwasgaredig, llawenhau calonau y weddw a'r amdddifad, a dywedyd, Dyma eich can cymmaint o'r hyn ag yr ydych wedi ddyoddef er mwyn yr efengyl, pan yr oeddych ar y ddaear yn y dyddiau diweddaf. Gan nad oeddwn wedi gweled y pethau hyn ugain mlynedd yn ol, y mae yn

dangos i mi nad wyf yn awr ond yn gweled trwy ddrych yn aneglur; ond pe byddai genyf lais fel udgorn, fe ddywedwn, Edifarhewch, a pharotowch erbyn adferiad mawr holl Israel. Amen.

Canodd y côr, "Come let us anew."

Dymunodd y Llywydd Young ar yr holl Archoffeiriaid a'r Henuriaid i gyfarfod yn y Bowery am bump o'r gloch, yn y prydnawn, i drin rhyw achosion mewn perthynas i Samuel Russell a Moses Martin.

*Hanner awr wedi pump yn y prydnawn.*—Cyfarfyddodd yr Henuriaid, a galwyd hwynt i drefn gan yr Henuriad Pratt. Ar ol canu hymn, a gweddio gan yr Henuriad Carter, galwodd y Llywydd Young ar Samuel Russell i ddyfod i'r esgynlawr ac egluro rhai sylwadau ag oedd efe wedi wneuthur mewn perthynas i'w ffydd yn efengyl yr iachawdwriaeth, pan y

Dywedodd Russell, "Geill fod rhai pynciau mewn Mormoniaeth ag yr wyf yn gredu; ond am gredu yn yr egwyddor o Ddadguddiad, fel ag y gwna Saint y Dyddiau Diweddaf, *nid wyf yn gwneyd.* Yr wyf yn credu fod Joseph Smith yn brophwyd mor fawr ag un a fu ar y ddaear erioed, ond nid oes genyf ddim ymddiried yn y Beibl, na Llyfr Mormon, fel dadguddiadau oddiwrth yr Hollalluog. Efallai fy mod wedi siarad yn ysgafn am yr Ysbryd Glan. Darfu i mi ofyn pa beth oedd yr Ysbryd Glan? a dywedais fod yr Ysbryd Glan, yr unig waith ag yr ymddangosodd, ar lun colomen; a gallai fod i mi ofyn os oedd yn dda i'w fwyta? Foneddigion, yr wyf wedi llefaru fy ngolygiadau. Mae y brodyr oll wedi ymddwyn tuag ataf fel boneddigion; gallwn fod wedi tynu yn ol, ond meddyliais na fyddai hyny yn un daioni."

Cyfododd Levi W. Hancock, a dywedodd, Yr wyf yn gwybod i Russell un waith fwynhau ysbryd Duw, ac y mae efe wedi teimlo mai hon oedd Eglwys Dduw. Credwyf nad yw y dyn wedi gweddio, ond iddo fod yn esgeulus, neu gallai wybod i Joseph fod yn brophwyd i Dduw, a bod Brigham Young yn brophwyd yn awr. Yr wyf yn cynnyg fod Samuel Russell i gael ei dori allan o Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf. Eiliwyd gan A. P. Rockwood, a chariwyd yn unfrydol.

Ar ol ychydig o rag-sylwadau, dywedodd y Llywydd B. Young, fod Mr. Russell wedi profi daionus air Duw, a nerthoedd y byd

naddaw; ac y mae gadael yn awr y Duw sydd wedi ei gynnal, ac wedi cynnyg iddo fywyd tragywyddol, a throi yn awr oddiwrth Dduw, a gwneyd yn ysgafn o'r pethau hyny, yn atgas i'm teimladau. (Gan droi ato ef, dywedodd), yn gymmaint a'n bod ni wedi gwahanu y gangen hon oddiwrth y pren, yr wyf yn dywedyd wrthych chwi, Samuel Russell, yn enw yr Arglwydd Iesu Grist o Nazareth, y cewch chwi deimlo llaw bwysig Duw; yr wyf yn eich traddodi drosodd i ddwylaw Satan. Darfu i chwi ymgyfammodi i wasanaethu Duw; gan eich bod yn awr yn ei adael, bydd i chwi deimlo digofaint Duw, a chewch wybod fod dadguddiad, ac os na fydd iddo eich llosgi i fyny, bydd i chwi ddymuno hyny.

Yr wyf yn awr yn galw achos Moses Martin yn mlaen. Pan ddaeth ef i'r Dyffryn flwyddyn yn ol i'r hydref diweddaf, nis gallaswn weled fod ganddo ysbryd yr Arglwydd; ni ddywedwyd dim wrtho, nac am dano, hyd yr haf diweddaf, pan y darfu i lywyddion y deg-a-thrugain ei alw ef i gyfrif; chwiliasant ei deimladau, ac yr wyf yn gwybod iddo ddweyd celwydd yn enw yr Arglwydd; dywedais mai dyn drwg ydoedd: *un felly yw.* Gallaf brofi ei fod yn euog o odineb, a dywed yr Athrawiaeth a'r Cyfammodau, y bydd y dyn a wnelo odineb ac ni edifarhao ar frys, yn colli ysbryd yr Arglwydd, ac yn gwadu y ffydd; ni wnawn i ei amddiffyn pe byddai yn dad neu yn frawd i mi. Gofynais iddo mewn cynghor, flwyddyn yn ol, "Frawd Moses, yr wyf yn gofyn i chwi yn enw yr Arglwydd, a ddarfu i chwi gadw eich hun yn rhinweddol a phur hyd nes i chwi ddychwelyd at eich teulu? Ar ol oddeutu pum mynyd o betrusder ac ymddyddan, dywedodd, Do. Dywedodd gelwydd, a hyny hefyd yn enw yr Arglwydd. Mae ef yn ddyn celwyddog, ac yr wyf yn gwybod hyny; y mae yn barhaus wedi bod fel tarw gwyllt mewn rhwyd. Yr wyf fi wrth law i'w brofi ef yn euog o odineb.

Cynnygiodd y Llywydd H. C. Kimball fod Moses Martin i'w dori allan o Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, am ei ddrygioni; cariwyd yn unfrydol.

Dywedodd y Llywydd Young fod llawer yn myned tua'r mwngloddiau; byddai yn well ganddo ef eu gweled yn aros yma, ac i godi llafur, a pheidio rhedeg ar ol duw y byd hwn. Pan wyf yn gweled rhai o'r brodyr yn myned ymaith, yr wyf yn teimlo fel mam pan yn gweled ei hanwylaidd blentyn yn nghanol yr

eigion, neu yn y fflamiau enynfawr. Yna dymunodd ar y crefftwyr i ddechreu gweithio eu degwm-waith, a gofynodd pa beth fuasai eu huriau; ac apwyntiodd gyfarfod i'r holl grefftwyr, i'r dyben o benderfynu pa beth fyddai safon yr huriau am y tymmor dyfodol. Fel ag yr oeddwn yn dyfod yma y boreu hwn, dywedais wrth fy ngweddeuau, gorphwyswch—wrth fy nheulu, gorphwyswch, tra y byddwyf yn myned i addoli yr Arglwydd yn y tabernacl cysurus hwn, ac i gael dylanwad gwresog ei Ysbryd Santaidd ef, fel y byddo i ni gael ein parotoi i fyned at genedloedd y ddaear, ac adeiladu teyrnas ein Duw. Pe byddech chwi oll yn teimlo yr un fath â mi, buasech yn awyddus i ddyfod yma, ond nid brysio i fyned ymaith drachefn. Bydded i ni dreulio ychydig o ddyddiau ac addoli; mae y nefoedd yn llawn o ddyddiau, ac nid oes genym ddim i wneuthur ond eu mwynhau.

Gweddiwyd gan John Murdock, pan y darfu i'r gynnulleidfa wasgaru.

*Dydd Sul, Ebrill* 7.—Agorwyd y gymmanfa am ddeg, yn y boreu, a galwyd am drefn gan G. A. Smith.

Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan yr Henuriad Benson, ac yna canwyd. Yr oedd y tŷ yn dra llawn.

Dywedodd yr Henuriad Kimball ei fod yn gobeithio y byddai y brodyr yn dechreu gweled yr anghyfleusdra o adeiladu tai bychain, a gobeithiai yr adeiladai y brodyr rai helaethach, fel y gellid cael lle i bawb a ddeuai.

Erfyniodd yr Henuriad George A. Smith am weddiau y Saint, gan nad oedd yn dysgwyl cael pregethu yma y boreu hwn. Mae y wybodaeth ag a dderbyniwn yn uniongyrchol oddiwrth ein Tad Nefol, mewn atebiad i weddi, a'i thuedd i'n harwain, cyfarwyddo, a'n tywys yn y llwybr hwnw ag y cymmerasom arnom i'w drafaelu. Cymharodd y gwelliant presennol yn y dyffryn hwn, a'r amser y darfu iddo ef gyntaf ddyfod iddo fel *pioneer*, pan oedd yn cael ei breswylio gan luoedd aneirif o gricied duon mawr, ac ychydig o Indiaid hanner-newynog. Ymddangosai yn wyrth iddo ef. Mewn hanesyddiaeth gyntefig nid oes cyffelyb i'r gorchwyl ag yr ydym ni wedi ei gyflawni; ac y mae yn rywbeth mwy nag a allai natur ddynol, ei hunan, ei gyflawni. Mae Duw wedi ein tywys, ac wedi ein cynnal a'n gwylied hyd yr amser presennol; ac yr ydym yn awr mewn amgylchiadau mwy llwyddiannus nag y buom erioed. Mae yn unol â dadguddiadau

ein Hiachawdwr Iesu Grist, trwy y prophwyd Joseph Smith, fod y Saint i gael eu profi yn mhob peth. Mae y bobl hyn wedi eu gyru o Dalaeth New York, wedi hyny o swydd Jackson, yna o Clay. Yr un erlidigaeth a'n gyrodd o Ohio, a gorchymyn alltudiol y Llywodraethwr Boggs a'n gyrodd o Missouri. Gadawsom y dalaeth hono yn ewyllysgar, o herwydd fod yn rhaid i ni, a chawsom y fraint o ymsefydlu ar gorsydd mwyaf afiachus, ac angeuol Illinois, yn Nauvoo. Gorfoleddodd y Cenedloedd, o herwydd meddylient y byddent yn sicr o ladd y Saint; ond pan ddarfu i ni sychu y corsydd a'u gwneyd yn iachus, yr oedd yn rhaid i ni gael ein gyru oddiwrth ein diwygiadau, ac mewn modd gwyrthiol, fel y gwaredwyd plant Israel oddiwrth Pharoah, y cawsom ein harwain i'r lle hwn. Pan fyddo llong allan ar y môr, yn rhedeg yn ddiberygl o feisleoedd, creigiau, neu *shallows*, gall farchogaeth môr tymhestlog mewn diogelwch—mae y cadben a'r swyddogion yn teimlo i gyd yn foddlongar; ond pe byddai chwa ddisymmwth yn cyfodi a'i chymmeryd yn ei phen blaen, y mae yn eithaf tebygol y dihwylbrenid y llong neu y soddid hi. Yr ydym ni wedi marchogaeth trwy fôr o dylodi, afiechyd, nychdod, a marwolaeth; ond y mae y storm wedi bod o hyd y tu ol, a gallem hwylio trwyddi yn ddiogel; ond yma y mae perygl yn bod oddiwrth wynt trwm yn ein gwyneb. Daeth un o'm cyfeillion personol, Samuel Russell, i'r esgynlawr hwn y ddoe, a chyhoeddodd ei hun yn anghrediniwr yn nadguddiadau Duw; yr ydym yn awr mewn sefyllfa i gael ein treio gan wynt trwm yn ein gwyneb, a gall ddihwylbreni ryw ran o'r llong. Pan yr oeddym ni yn yr ysgol, yn Kirtland, dymuniad pob henuriad oedd addasu ei hun i fod yn genadwr hedd i bob cenedl, teyrnas, iaith, a phobl, hyd nes y dywedai yr Arglwydd digon. Nid ydym wedi cael ond ychydig o amser i bregethu oddiar hyny, gan ein bod yn barhaus yn cael ein gwasgaru a'n gyru oddiamgylch o le i le, fel crwydriaid ar hyd y ddaear, yr hyn a wnaeth i ni edrych allan am le y gallem wneyd ein teuluoedd yn gysurus am dymmor. Mae rhai o'r henuriaid hyny yn awr am wneyd eu hunain yn gyfoethog; ond nid wyf fi am weled dyn ag sydd yn meddu yr Ysbryd Glan, yn rhoi ei fryd ar ffermydd, anifeiliaid, neu aur. Yr wyf yn dweyd, mor fuan trwy fendith yr Hollalluog, a bendith fy mrodyr, ag y gallaf gael modd rhesymol yn gynnaliaeth i'm teulu, yr wyf yn barod, ac y mae fy nghalon yn curo

yn uchel am fyned a dwyn yr efengyl hon i ryw bobl na clywsant hi erioed, lle ni phregethwyd yr efengyl erioed, a lle y maent mewn tywyllwch i gyd; yna byddaf fi wrth law, a gobeithiaf yn yr Hollalluog y bydd i mi gyflawni y gwaith ag y mae Duw yn ofyn ar fy nwylaw. Dylai henuriaid Israel, a Saint Duw, ystyried yn barhaus pa beth y maent yn ei gylch; na wnewch ddim ag a fyddo ysbryd y gwirionedd yn arwyddo na fydd yn iawn. Cafodd Moses Martin ei ysgymuno y ddoe, a sicrhaf wrthych pan oedd efe yn estyn allan ei law i wneuthur drwg, fod y llais dystaw main yn gwaeddi allan, "Moses, nid yw hyna yn iawn." Na wnewch unpeth pan yr ydych wedi eich hargyhoeddi nad yw yn iawn. Rhaid i bob henuriad gadw ei uniondeb o flaen yr Arglwydd, onide caiff ei ddamnio. Cofiwch eiriau yr Iachawdwr: "Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, a phob peth a ychwanegir i chwi." Ystyriwch yr oll ag sydd genym, a'r oll ydym, at wasanaeth yr Hollalluog; a phob peth a wnawn ni er ei ogoniant ac yn ei enw, a phob peth a osodwn ein dwylaw wrtho, a lwydda. Ond os penderfynwn ni ein bod wedi dyoddef digon, a llafurio digon, a gosod polion i lawr fel y gwna gwrthgilwyr, gan ddweyd yr awn mor bell â hyn ond dim pellach, bydd i ni fyned i lawr yn gyflym i ddinystr a chael ein colledu yn dragywyddol. Ewyllysiwyf ddwyn tystiolaeth o wirionedd y gwaith hwn. Mae yn rhaid i'r bobl hyn gael eu cwrteithio nes y byddont yn cael eu llywodraethu gan ewyllys yr Hollalluog. Ac Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, yr hon a reoleiddiwyd ugain mlynedd yn ol i ddoe, yw yr unig wir eglwys, a'r unig ffordd bosibl i feddu iachawdwriaeth, ac yr wyf yn gwybod hyny. Os bydd dyn yn aberthu ei dalentau ei hun er mwyn ei lygredd ei hun, y mae yn selio ei hunan fyny i ddystryw. Hon yw yr unig eglwys a'ch tywys chwi i ogoniant nefol—gwn mai felly y mae. Bu Joseph farw drosti, a bu Hyrum, Dafydd, a llawer ereill, farw drosti. Gwn mae y gwirionedd ydyw. Dymunaf ar fy mrodyr i drysori y sylwadau hyn, o herwydd yr wyf yn gwybod eu bod yn wir. A bydded i Arglwydd Dduw y lluoedd ein diogelu ni oll hyd nes y cyrhaeddom deyrnas nefol ein Duw, yr hyn yw fy ngweddi. Felly, Amen.

Cynnygiwyd fod George Pitkin, Alvarus Hanks, Thos. Tomkins, Julian Moses, a Joseph Buzby, i fyned i'r Society Islands, i gynnorthwyo Addison Pratt, a phregethu yr efengyl; cariwyd.

Cynnygiwyd fod Robert Campbell, John O. Angus, a James Works i fyned i Loegr, a phregethu yr efengyl o dan y llywyddiaeth yno; cariwyd.

Cynnygiwyd fod Hyrum Clark, a William D. Huntington i fyned i California, i gynnorthwyo Amasa Lyman a Charles C. Rich.

Cynnygiwyd fod Jesse Molan i fyned i'r Taleithiau ar genadiaeth; cariwyd.

Gweddiwyd gan Daniel Spencer.

(*I'w barhau.*)

---

## IACHAD RHYFEDDOL YN ABERCANAID, MERTHYR TYDFIL.

MR. GOL.,—Ar ddydd Gwener, y 23ain o Awst diweddaf, tra yr oeddwn yn y gwaith glo, ynghylch 11 o'r gloch y boreu, cwympodd careg arnaf, yr hon oedd oddeutu dau cant o bwysau. Yna cariwyd fi tua thref, mewn sefyllfa dra anobeithiol. Yn fuan ymwelodd meddyg â mi, yr hwn a ddywedodd nad oedd ganddo ddim i wneuthur, a gorchymynodd fy nhroi i fyny mewn gwrthbanau. Yr oedd chwydd mawr yn fy nghefn o faintioli pen plentyn. Dymunodd y meddyg am gael gwybodaeth tua chwech o'r gloch pa fodd y byddwn. Yn y cyfamser daeth dau o henuriaid y Saint ataf, a gweinyddasant yr ordinhad eglwysig arnaf; ond nis gallaf ddweyd i mi fod ddim gwell. Danfonwyd un Lewis Richards â gwybodaeth i'r meddyg, yn ol ei ddymuniad; a'r ateb a gafwyd oedd, fod y cyfan ar ben arnaf. Ond boreu dranoeth, tra yr oedd yr un henuriaid yn gweinyddu arnaf drachefn, teimlais y poen yn ymadael â mi yn llwyr, a'm hasgwrn cefn, yr hwn oedd wedi dadgyssylltu, yn cydio wrth y gilydd. Oddiar hyny gwellheais yn gyflym, a chynnyddais mewn nerth bob dydd, nes yr wyf yn alluog yn awr i gerdded amryw filltiroedd, a dyfod mor bell â'r Georgetown o Abercanaid i dystiolaethu hyn. Tystiolaeth y meddyg, pan y daeth ataf ar y cyntaf, oedd fy mod wedi tori asgwrn fy nghefn; a phan ddaeth ataf yr ail waith, pan yr oeddwn wedi derbyn y fendith, dywedodd yn nghlywedigaeth un Esther John a'm gwraig innau, fod yr asgwrn wedi myned i'w le ac wedi cylymu, a'm bod wedi gwella yn rhyfeddach nag un dyn a welodd efe erioed. Yr oedd llawer o

grefyddwyr sectaraidd yn cydnabod fod gallu Duw wedi cael ei amlygu arnaf, tra yr haerai ereill nad oeddwn wedi derbyn dim trwy y gallu hwnw. Yr wyf yn diolch i Dduw am ei ddaioni mawr tuag ataf y waith hon, ac yn gobeithio y caf y fraint o fyw o hyn allan i'w wasanaethu yn fwy nag erioed.

*Abercanaid, Medi* 10, 1850. DAVID RICHARDS.

O.Y.—Yr ydym ni, y rhai y mae ein henwau isod, yn tystiolaethu i eirwiredd y dystiolaeth uchod.

JOHN THOMAS, THOMAS REES,
MORGAN MILES, WM. RICHARDS.

---

## NEWYDD DDA O SWEDEN A DENMARK.

[Allan o'r STAR.]

*Copenhagen, Awst* 19, 1850.

ANWYL FRAWD O. PRATT,—Mae yr had wedi syrthio ar dir da, y mae wedi gwreiddio yn ddwfn, yn saethu allan ei gangenau, ac yn dwyn ffrwyth. Nos Lun ddiweddaf bedyddiais 15 o bersonau, y rhai cyntaf yn Denmark. Aethom i le dirgel, oddeutu milltir o'r dref, a bedyddiasom hwynt yn nwfr hallt gloyw y bas-fôr. Dim cyffroad. Bedyddiodd y brawd Dykes wedi hyny 15 yn ychwaneg, ac y mae amrywiol i gael eu bedyddio heno. Mae ysbryd ymchwiliad yn ymdaenu ar bob llaw. Mae yr Henuriad Dykes yn dysgu yr iaith yn gyflym, ac yn gwneyd daioni mawr. Nid yw y brawd Hanson ar ol. Cynnaliasom dri chyfarfod i gadarnhau, a thywalltwyd yr Ysbryd yn helaethlawn. Ni chynnaliasom gyfarfodydd ond yn ein hystafell ein hunain, ac yn nhai y brodyr. Mae ein pregethu fynychaf yn bregethu aelwydaidd. Mae y sawl a fedyddiwyd wedi gwreiddio yn y ffydd, ac yn gadarn. Ymwela yr Arglwydd â hwynt mewn breuddwydion, gweledigaethau, a thrwy eglurhad yr Ysbryd Glân. Cymmysg ydynt o Germaniaid, Swediaid, a Daniaid, ond i gyd yn llefaru y Daniaeg. Yr eiddoch mewn brys,

ERASTUS SNOW.

[At y llythyr uchod ychwanegwn ddyfyniad o lythyr Peter O. Hanson, o'r un lle, dyddiedig Awst 18, yr hwn sydd fel y canlyn:—"Derbyniasom lythyr y ddoe oddiwrth y brawd John Forssgreen, yr hwn a roddodd i ni lawenydd mawr; hysbysa ni ei fod

wedi bedyddio tri o bersonau yn nhref Gefle. Yr oedd llong yn barod i hwylio i New York, efo cwmpeini o ffermwyr ymfudol; a phan glywodd y brawd John am hyny, aeth i waered i'r llong, ac a draddododd yr efengyl iddynt. Derbyniasant hi yn llawen, a cheisiasant ganddo ef i bregethu iddynt mewn rhyw allt. Yna apwyntiodd gyfarfod yn y lle hwnw, yr hwn a effeithiodd yn dda; bedyddiwyd 16 neu 17 o honynt, ac ychwaneg yn parotoi i hyny. Wedi hyny ordeiniodd ddau henuriad a rhai athrawon, a dysgodd iddynt pa fodd i weithredu yn y llong. Aeth sôn am y cyfarfod hwn i glustiau yr offeiriaid, y rhai, y cyfarfod nesaf, a'i gwyliasant ef mewn llwyni, ynghyd â'r heddgeidwaid. Ar ol y cyfarfod, aeth marshall y ddinas ato, ac a'i cymmerodd gerfydd coler ei gôt, gan ei ysgwyd ychydig; ac amcanodd ei daro yn ei wyneb, ond gwnaeth gamsynied, a tharawodd wyneb ei hun. Yna dygasant ef trwy y ddinas, gan waeddi 'y trochwr!' dangosasant ef i'r prif offeiriaid a swyddogion, ac yn ddiweddaf dygasant ef at y barnwr, yr hwn a ofynodd iddo lawer o gwestiynau, gwarafunodd iddo i bregethu, bygythiodd ef â charchar ac alltudiaeth, danfonodd am feddyg i edrych os oedd rhywbeth allan o le ar ei ben, ac yn ddiweddaf danfonodd ef i Stockholm, lle y treiwyd ef eilwaith, ac y penderfynwyd ar ei alltudiad; ond mor bell ag y gallwn ni farnu, y mae efe i aros hyd nes y delo'r brenin yn ol o'r wlad."]

---

## ODDIWRTH Y BRIF-LYWYDDIAETH.

Yr ydym yn rhoi y dyfyniad canlynol o lythyr a ysgrifenwyd yn Ninas y Llyn Halen Fawr, Ebrill 13, 1850, gan Lywyddiaeth yr Eglwys, at yr Henuriad Orson Hyde. Mae y dyfyniad yn fyr, ond y mae yn cynnwys llawer, a gwnelai ein brodyr a'n cyfeillion yn dda i'w ddarllen a'i drysori :—

"Nid oes llawer genym i ddweyd, neu ddim llawer o amser i ychwanegu at yr hyn a ysgrifenasom. Mae yn amser diwyd iawn gyda ni. Mae y tywydd yn deg, a'r brodyr yn ddiwyd iawn yn hau gwenith; ac oddiwrth ymddangosiadau presennol, bydd arnom anghen dwbl y dwylaw sydd genym yn awr at y cynauaf. Yr ydym yn dysgwyl i chwi (yr Henuriad Hyde). * * * i ymweled â ni yr haf hwn, a gobeithiwn y dewch chwi â llawer iawn o fedelwyr gyda chwi, o herwydd bydd eu hanghen arnom. Mae y gweithiau cyhoeddus yn galw am gynnorthwy, ac y mae arnom eisieu y Saint yn nhref,

"Gwthiwch y Saint i Seion, a pherswadiwch yr oll o'r Saint da i ddyfod, ag sydd yn meddu berfa droell (wheelbarrow), a digon o ffydd i'w gyru dros y mynyddoedd, &c.

(Arwyddwyd.) "BRIGHAM YOUNG,
"HEBER C. KIMBALL,
"WILLARD RICHARDS."

Mae y blaenorol yn eglur ddangos y ddyledswydd sydd ar y Saint i ymgasglu i'r Dyffryn mor fuan ag y bo amgylchiadau yn caniatâu, er cynnorthwyo adeiladu Seion, ac ufyddhau i gynghor y rhai a osodwyd yn arolygwyr dros yr eglwys ac i roi cynghorion er lles a daioni cyffredinol y Saint a phawb sydd yn caru cyfiawnder ac yn ffieiddio drygioni. Tybiwn y dealla y doeth, ac y gweithreda yn gyferbyniol.—*Frontier Guardian, am Gorph.* 24, 1850.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR DDINBYCH.

CYNNALIWYD cymmanfa swydd Dinbych, yn Abergele, ar y 18fed o Awst, pryd y cynnrychiolwyd pedair o gangenau, yn cynnwys 10 o henuriaid, 14 o offeiriaid, 6 o athrawon, a 6 o ddiaconiaid; 16 wedi eu bedyddio, 4 wedi eu tori allan, ac 1 wedi marw; cyfamswm, 149. Penderfynwyd fod y brawd John Parry, i fod yn llywydd ar gangen Dinbych; a bod y brodyr John Davies a John Morris i fod yn gynghorwyr yn y gynnadledd.—John Parry, llywydd; William Parry, ysgrifenydd.

### SIR FFLINT.

Cynnaliwyd cymmanfa chwarterol swydd Fflint, yn Nhreffynnon, ar yr 11eg o Awst, pryd y cynnrychiolwyd pum cangen, yn cynnwys 12 o henuriaid, 8 o offeiriaid, 4 o athrawon, ac 1 diacon; un wedi marw, cyfanswm, 73. Anerchwyd y Saint gan y Llywyddion Phillips a Pugh yn dra effeithiol, a chafwyd cymmanfa ragorol iawn. Boreu dranoeth, cynnaliwyd cynghor, lle y penderfynwyd fod William Parry i lywyddu y gynnadledd yn lle y brawd John Davies, ac Elias Morris a Richard Griffiths yn gynghorwyr iddo.—John Davies, llywydd; T. Green, ysgrifenydd.

### SIR FEIRIONYDD.

Cymmanfa y sir hon a gynnaliwyd yn Nhywyn, ar yr 8fed o Fedi, pryd y cynnrychiolwyd chwech o gangenau, yn cynnwys

15 o henuriaid, 6 o offeiriaid, 1 athraw; 4 wedi eu bedyddio, a 4 wedi eu tori allan; cyfanswm, 72. Anerchwyd y cyfarfodydd gan y Llywydd W. Evans, Thomas Morgan, ac henuriaid ereill, a chafwyd gwrandawiad astud.—William Evans, llywydd; David Roberts, ysgrifenydd.

---

## AMRYWIAETHAU.

HYDREF.—Yn fynych hwn yw y mis tecaf o'r flwyddyn; ond, megys rhanau ereill o'n tymmorau, nis gellir ymddibynu arno. Mewn tymheredd (y cyfartaledd cyffredin yw 55 o raddau) y mae yn rhesu rhwng Mai a Mehefin, ond mae y tair wythnos gyntaf yn gyffredin mor dwymn ag unrhyw ran o'r haf; eithr y mae cyfnewidiad amlwg yn arferol o fod tua'r diwedd. Yn Scotland, mae grym gwaith y cynauaf yn cael ei gyflawni yn ystod y mis hwn. Dyma yr amser hefyd y mae ffrwythau mawrion yn dyfod i berffeithrwydd. Mae y gerddi blodau ag ymddangosiad hardd o hyd, a rhai o'r blynyddolion tramor ond yn dechreu blodeuo. Ymddengys y dahlia, blodeuyn ardderchog o drosglwyddiad diweddar, yn ei holl ogoniant yn ystod Medi. Yr ydys wedi sylwi nad yw y tŷ-glêr mor lliosog mewn un tymmor arall.

TEITHIWR UNIGOL.—Yn y llythyr sydd gan yr Henuriad Robert Campbell yn y "Frontier Guardian" am Gorph. 24, yn rhoddi crynodeb o hanes ei daith o'r Dyffryn i Council Bluffs, adroddir y peth canlynol:—"Ar yr 21ain (o Fai), aethom heibio i ychydig o weddeuau ychain a fu yn gauafu yn Laramie, ac hefyd heibio i ddyn efo berfa droell (wheelbarrow), yr hwn a ddywedid mai Scotchman oedd. Ceisiodd amryw ganddo i ymuno â'u cwmni hwy, gan addaw cludo ei ddarpariadau a'i wely. Diolchodd iddynt yn garedig, ond dymunodd gael ei esgusodi, gan nad allai aros i symudiadau araf gwersyll. Nid oedd efe yn ofni i'r Indiaid ledrata ei geffylau, ac nid oedd wedi colli dim o'i gysgu rhag ofn terfysgiad anifeiliaid. Dywedwyd wrtho gan un o'n cwmni ni, sef y brawd John O. Angus, ei fod ef yn gweled prophwydoliaeth Formonaidd yn cael ei chyflawni wrth ei ganfod. Tair blynedd yn ol y clywodd efe brophwyd Mormonaidd yn hysbysu y teithid y gwastad diroedd efo wheelbarrows."

PRIF ATHROFA DESERET.—Mae y brawd Orson Spencer, sef canghellydd yr athrofa uchod, yn anfon anerchiad o'r Dyffryn-dyddiedig Ebrill 17, 1850, at holl gefnogwyr dysgeidiaeth, gan erfyn eu cymhorth at sefydliad mor wiwglodus. Ymddengys yr anerchiad yn y "Frontier Guardian" am Gorph. 24, lle y dywedir y bydd yr athrofa hon yn fuan yn alluog i ddysgu mwy o ieithoedd byw nag un athrofa ar wyneb y ddaear; ac am ieithoedd marw, gadewir hwynt i'r meirw. Bydd yn rhydd i bawb; ac annogir breninoedd, tywysogion, a phenaethiaid y ddaear, i ddanfon eu hanrhegion a'u hoffrymau iddi yn mlaenllaw, gan y gall fod etto yn ddefnyddiol i'w plant, pan fyddo eu teuluoedd yn llechu yn yr ymguddfan iachus hono rhag chwyldroadau y byd. Derbynir rhoddion gan Orson Pratt yn Liverpool, a chan W. Phillips yn Merthyr.

TEML NAUVOO.—Ymddengys i adfeiliadau teml Nauvoo, y rhai oeddynt yn cael eu cyweirio a'u gwneuthur yn ymborthdy, ysgoldy, &c., gael eu chwythu i lawr gan gorwynt, ar y 27ain o Fai diweddaf. Bu amryw ar fin colli eu bywydau o'r herwydd.

HEN OED.—Mae eneidiau y cyfiawnion, fel y blodau, yn rhoi allan eu perarogledd yn fwy effeithiol yn mhrydnawn eu dyddiau.

EISIEU.—Os gelli fyw yn rhydd oddiwrth eisieu, na ofala am ychwaneg; nid yw y cwbl arall ond gwagedd.

CANMAWL.—Na chanmolwch ddim ond yr hyn sydd yn deilwng o ganmoliaeth; felly, caiff eich barn ei chymmeradwyo, a'ch gonestrwydd ei ganmawl.

PROFIAD.—Profiad yw y cynghorwr goreu; ond gwell dysgu oddiwrth brofiad ereill, nag oddiwrth yr eiddom ein hunain.

SYLWAD CALL.—Y dyfroedd dyfnaf ydynt y mwyaf dystaw; llestri gweigion a wnant fwyaf o swn, a symbalau yn tincian a wnant y gerddoriaeth waethaf. Y rhai sydd yn meddwl leiaf, ydynt fynychaf yn llefaru mwyaf.

BALCHDER.

Balchder Cymro yw ei Saesnaeg,
Balchder Sais yw siarad Ffrengaeg;
Balchder byd yw gwrthod crefydd,
Balchder Saint yw barnu 'u llywydd.

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 22.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. II.] HYDREF, 1850. [PRIS $2\frac{1}{2}g$.

## CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;

AR WERTH HEFYD

Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr,
trwy y Deau a'r Gogledd.

1850.

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

☞ Bwriadai y llong â'r Ymfudwyr Cymreig hwylio o Liverpool ar y 18fed o'r mis hwn, dan lywyddiaeth y brawd John Morris, o sir Benfro. Cynnwysai y llong 148 o Saint Cymreig, a 76 o rai Seisnig, a 100 o'r byd.—Cymmer ymfudiad Cymreig arall le tua dechreu Ionawr, a bydded i'r rhai a fwriadant ymfudo bryd hyny ddanfon eu henwau a'u rhagdaloedd i mewn yn ddioed.

Apwyntiadau.—Apwyntir Eliezer Edwards i deithio trwy Gynnadleddau y Gogledd, dan gyfarwyddyd y llywyddion yno. Apwyntir Hopkin Mathews i lywyddu Cynnadledd Sir Aberteifi, a John Morris a John Evans yn gynghorwyr iddo. Apwyntir Phillip Seix yn ail gynghorwr i John Price, yn sir Benfro, ac i lafurio yn y parthau Cymreig.

☞ Gwelsom lythyr o'r Llyn Halen oddiwrth chwaer i Phillip Seix, yr hon oedd gyda'r Saint yn Nauvoo, ac y mae yn gwneuthur yn dda.

Cymmanfa Manchester.—Er i ni ysgrifenu hanes y gymmanfa hon yno ein hunain, etto gwell genym aros er cael yr hanes o'r ffynnonell briodol. Gan hyny, argraffwn ef mewn hanner rhifyn o'r Udgorn nesaf, yr hwn a ddanfonwn yn ddioed i bob man, yn werth ceiniog a dimai; a danfonwn yr hanner arall, yn cynnwys yr amlen, yn yr amser arferol, am geiniog.

YR UDGORN.—Bwriadwn i argraffu yr Udgorn y flwyddyn nesaf bob pythefnos, yn 16 tud., o'r plyg presennol (heb amlen), am un geiniog, gan hyderu y dosperthir llawer iawn yn ychwaneg. Bydd yr un faint â "Phrophwyd y Jubili," ond am hanner ei bris! Danfoner gwybod pa faint a ellir dderbyn yn mhob man, yn ddioed.

AT Y DOSPARTHWYR.—Bendithied Duw y rhai ffyddlawn; a gweddied pawb dros y lleill. Mae rhai wedi danfon atom eu "cariad gwresocaf," a dim ond hyny, er ys dau neu dri chwarter. Cynghorem bawb o hyn allan i wneyd eu taliadau yn fynychach, megys pob mis, a settlo â ni ar ben pob chwarter. Os bydd llyfrau ar law heb werthu, gellir eu hystyried yn rhan o'r dyled wrth settlo; ond ni fyddwn yn derbyn llyfrau yn ol, cofier. Dylid ymdrechu gwerthu yr Udgorn oll, fel y daw allan.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 22.] HYDREF, 1850. [CYF. II.

### ANERCHIAD AT Y SAINT.

ANWYL FRODYR,—Ni fu cymmaint o awydd ynom i'ch anerch erioed o'r blaen, ag sydd yn bresennol. Teimlwn fod genym rywbeth o bwys i'w hysbysu; a chredwn eich bod chwithau mewn cyflwr addfed i dderbyn pa bethau bynag a ddywedwn. Os na fydd i ni wneyd lles mawr, gobeithiwn na effeithiwn un niwed. Teimlwn fel pe byddai ein mynwes yn llawn o gariad, a'n holl fryd am wneuthur rhagor o ddaioni yn nheyrnas Duw. Edrychwn gyda phleser mawr ar y gwaith sydd eisoes wedi ei gyflawni; eithr edrychwn gyda mwy o bleser ar y gwaith mwy a feddyliwn ellir ei gyflawni etto. Nid da boddloni ar waith dwylaw, os gellir cael rhywbeth tebyg i ager i weithio. Edrychwn ar hanes y byd; mae yr arafwch a berthynai i bob peth gynt, yn awr wedi troi yn gyflymdra. Mae y daith oedd yn wythnos wedi troi yn daith diwrnod, a thaith diwrnod yn daith awr. Carlamir dros fôr a thir megys wrth adenydd y gwynt; a'r syndod mwyaf yn awr yw, nad ellir myned yn gyflymach. Mae pob peth wedi dyfod yn hawsach i'w gyflawni hefyd, a hyny yn llawer buanach nâ chynt. Ymddengys fel pe byddai holl elfenau natur am arbed dyn yn hollol, ac ar yr un pryd gwneuthur erddo saith cymmaint o waith ag a allai efe wneuthur ei hun. Nid oes dim ond peiriannau yn mhob man, at bob math o waith; a braidd nad yw y cyfan yn meddu galluoedd dyn. Mae y chwyddwydrau yn tremio i ffurfafen y nefoedd, a darllen ei hanes; mae yr

ager-gerbydau yn rhedeg, gan besychu a chwiban; ac y mae llwybrau dyfnion y môr yn gyfryngau i drosglwyddo meddwl. Braidd nad yw dyn yn cael gan yr ŷd i hau, medi, dyrnu, a malu ei hunan, yn ymborth iddo; yn cael gan y dwfr i ddyfod ei hun o'r ffynnon i'w ddisychedu; ac yn cael gan y gwlan i nyddu a gwau ei hun yn ddillad iddo: a dygir hyn oll oddiamgylch yn y modd cyflymaf. Mewn gair, mae pob peth yn y dyddiau hyn yn cyd-dystio mai byr-waith sydd i gael ei wneuthur ar y ddaear; ac am hyny, y mae pob peth yn ymrwyddhau ac yn ymgyflymu.

Fe welwn wrth hyn, ynte, fod gwaith dyn yn cael ei gyflymu, a bod pob peth yn cyduno yn y gorchwyl. Mae gwaith gan Dduw hefyd, ac y mae yn waith mawr iawn; a rhaid ei gwpla ar fyrder. Gwaith ydyw hwn sydd i lanw yr holl ddaear, ac i gael ei ddwyn oddiamgylch gan ddynion. Hyd yn hyn nid oes nemawr o ager wedi ei ddefnyddio genym er ei gario yn mlaen. Mae amser yn prysuro ei gamrau, a dydd i ddydd yn ein nesu at y "dydd mawr diweddaf," pan y dysgwylir fod y gwaith wedi ei orphen. Y gwaith yw pregethu yr efengyl hon am y deyrnas trwy yr holl fyd, er tystiolaeth i'r holl genedloedd: ac yna daw y diwedd. Nid yw hyn etto ond megys wedi ei ddechreu; a chan mai "byr-waith" yw y cyfan i fod, ymddengys fel pe byddai eisieu rhywbeth fel ager arnom i'n cynnorthwyo i'w orphen mewn pryd. Y tafod yw y prif beiriant sydd wedi bod mewn gwaith gan y Saint gynt; ond y mae Saint y Dyddiau Diweddaf wedi dyfeisio tafodau *newyddion*, mewn ychwanegiad, ac wedi bod trwy hyny yn alluog i dystiolaethu mwy am yr efengyl na'r Saint gynt. Y tafodau newyddion hyn yw y traethodau a argraffa gweision Duw yn yr oes hon; a mawr y cynnorthwy a roddant. Ond er cymmaint o dafodau sydd genym, rhwng y ddau fath, etto nis oes chwarter digon. Mae cannoedd o filoedd o'n cydgenedl anwyl heb wybod dim etto am yr efengyl; ac y mae yr amser wedi dyfod pan yr hyderwn y cânt wybod. Mae dymuniad ynom ni i'w hachub, ac y mae yr un dymuniad hefyd yn yr holl Saint. Nid oes neb yn meddu Ysbryd Duw, os na fydd dymuniad felly ynddo; canys y mae Duw yn ewyllysio achub pawb, a dylem ninnau sydd am ymdebygoli iddo, feddu yr un ewyllys.

Tybiwn y clywwn y Saint yn gofyn, Pa beth a allwn ei wneuthur yn rhagor er cyflymu gwaith Duw? Mae ein swyddogion yn pregethu eu goreu, ac yr ydym yn dosparthu llawer iawn o draethodau. Os dangosir i ni y gallwn wneuthur rhagor, byddwn yn awyddus i'w wneyd. Wel, rhaid cydnabod bod ffyddlondeb mawr wedi bod, yn ol y wybodaeth ag oedd yn meddiant y Saint: ond yn awr mae yn llawn bryd i gyssylltu cyflymdra wrth y cyfan a wnawn, fel y byddo gwaith Duw yn cael ei orphen ar frys. Mae y fath beth yn bosibl â chael ager ysbrydol i weithio, ond cael tân Duw yn ein mynwesau i'w gynnyrchu. Nid ydym am osod tafodau ein swyddogion i fyned yn gyflymach, oblegid y maent yn ddigon cyflym eisoes; a digon o honynt mewn nifer, heb fod eisieu llawer yn rhagor. Mae lluoedd o honynt â rhy fach o waith ganddynt, tra y mae gwaith anfeidrol o'u blaen. Ychydig o bechaduriaid a ddaw i ymofyn gwirionedd i leoedd addoliad y Saint, gan nad oes yno gymmaint o wychder ag sydd yn y capelau, a chan nad oes yno neb yn pregethu ag y maent hwy wedi bentyru iddynt eu hunain: heblaw hyny, y mae llawer o ddynion da, o herwydd eu sêl, nad ânt i un man ond i'r lle y cawsant eu dwyn i fyny, ac felly y maent yn barhaus allan o gyrhaedd lleferydd gweision Duw. Mae y ddyfais i bregethu wrth yr holl rai hyn wedi ei chael allan; a'r unig beth sydd yn eisieu yn bresennol, er cyflawni hyn yn effeithiol a chyflym, yw yr ager,—ac y mae hwnw i'w gael.

Yr unig ffordd i bregethu wrth y rhai sydd yn rhy gall, yn rhy falch, yn rhy dduwiol, neu yn rhy elyniaethus i ddyfod i'n lleoedd o addoliad, yw dosparthu traethodau iddynt, sef pregethau y rhai hyny a ystyrir yn dal swyddi uchel yn ein heglwys. Mae y rhai hyny wedi argyhoeddi eu cannoedd yn barod, ac wedi argyhoeddi amgenach dynion nag y gallodd y swyddogion ddyfod o hyd iddynt mewn un ffordd arall. Mae y pregethwyr dystaw hyn, sef y traethodau, yn gwneyd eu gwaith yn effeithiol iawn. Mynych y mae yr un traethawd yn cael ei ddarllen gan fwy o nifer nag sydd weithiau yn gwrandaw dau henuriad ag a fyddant wedi teithio milltiroedd er dyfod i bregethu. Fel hyn, ynte, y mae un

chwaer anwybodus, efallai, trwy estyn traethawd bach yn llaw ei chymmydog, yn gwneyd cymmaint o waith â dau neu dri o swyddogion, er fod y rhai hyny oll yn gwneuthur eu goreu. Yn fynych iawn mae gan chwiorydd fwy o ddylanwad i werthu traethodau na neb o'r swyddogion; dychrynir rhag yr offeiriadaeth, tra y groesawir chwiorydd neu blant.

Yn awr, mae y pwer sydd gan un chwaer i wneuthur daioni, ond ei osod mewn gweithrediad cyffredinol, yn ddigon i droi y byd y tu arall i fyny. Gwelir yma megys rhyw "Forgan" yn dangos ei ager; a meddyliwn y gallwn, gydag ychydig o undeb a ffyddlondeb, ei wneyd i droi olwynion iechydwriaeth yn gyflymach nag y troisant erioed, a dwyn oddiamgylch adferiad yr onest yn mhlith ein cenedl. Hwyrach fod amser i ddod i eni cenedl mewn un dydd; a dyna yr amser pan y bydd yr ager wedi cyrhaedd ei berffeithrwydd.

Bellach, cawn ddangos ein cynllun i osod yr ager hwn mewn gweithrediad cyffredinol. Yn flaenaf peth, gofaled pob cangen am ddigon o "ddyfroedd lawer" yn agos iddynt, a digon o Ysbryd Duw yn dân yn eu plith; ac yna gellir ystyried fod yr ager yn barod i weithio. Yna bydded yr *engineer*, sef y llywydd, yn awyddús i gyflymu y gwaith; oblegid bydd y cyfan yn ymddibynu arno ef; ac ni weithir dim, os na weithia efe i ddechreu. Dyweded wrth ei Saint, Anwyl frodyr, y mae yma filoedd o'n hamgylch ag a ddylem ni ymdrechu eu hachub; ac y mae yr amser wedi dod i ni allu cyflawni hyn yn gyflymach o lawer nag erioed o'r blaen. Ymdreched pob un o honoch, yn gyntaf, i brynu un copi o bob traethawd i oleuo eich hunain, a chyda llaw aed pob brawd a chwaer, yn hen bobl a phlant, yn ddosparthwyr, er mwyn goleuo y byd. Na ddyweded neb nas gall eu gwerthu, canys nid allaf ei gredu. Mae ager yn awr wrth y peiriant, ac y mae yn rhaid iddo lwyddo. Mae genych oll berthynasau, cyfeillion, a siopwyr. Os na phryna y perthynasau neu y cyfeillion, ewch at y siopwr, a dywedwch, Yr wyf fi yn prynu yn eich siop chwi, a dysgwyliaf i chwithau brynu yn fy siop innau; ac os na wnewch, treiaf rhyw siopwr arall. Na fydded neb o honoch â

chywilydd arno, oblegid bydd Mab Duw yn dyfod i wybod. Bydd gweled yr holl Saint yn ymdrechu gyda eu gilydd i werthu yr hyn a allont o lyfrau, heb elw, yn pregethu mor uchel â'r llyfrau eu hunain; a daw y byd i ganfod dymuniad achub yn nghalon pob Sant. Dyweded pob aelod nad yw efe am wneuthur masgnach, ond mai cytundeb sydd yn mhlith ei frodyr oll i bob un werthu rhyw ychydig er gwneuthur lles mawr rhyngddynt. Gyda llaw, cofied pob aelod i un chwaer fach dlawd, yn Merthyr, yn ddiweddar, werthu cant o draethodau i'r byd, mewn un diwrnod, heb ddimai o elw. Wele enghraifft o bwer yr ager; yn lle derbyn un copi o draethawd, derbyniodd gan cymmaint, ac ond odid na phregethodd traethodau y chwaer i gannoedd y diwrnod hwnw, heb sôn am ddiwrnodau ereill. Nid ydys yn gofyn am ychwaneg o arian oddiwrth y Saint, ond ychwaneg o'r hyn a all y tlotaf ei roddi, sef ei ewyllys da at waith Duw. Os bydd digon o'r "trysor mewn llestri pridd ganddynt," byddant yn ddigon cyfoethog.

Cynhyrfed pob llywydd ei Saint yn y modd uchod, a sicrhawn y daw llwyddiant mawr ar waith Duw. Nid yw ein brodyr a'n chwiorydd etto erioed wedi dychymmygu pa beth a allant gyflawni. Daw ymdrech cyffredinol y Saint i wasgaru gair argraffedig Duw, i effeithio gostyngiad mawr yn mhris y traethodau, ac felly i hwylusu y gwaith yn fwy fyth. Yr ydym wedi dweyd llawer o'r blaen ynghylch llyfrau, ond ni ddangosasom hyd yn awr, yn iawn, pa beth yw dyledswyddau yr holl Saint, na chwaith eu gallu. Ysgrifenasom hyn mewn ffydd, a chredwn fod diwygiad mawr wrth y drws. Cilied y sawl a ddywedo ein bod am ymgyfoethogi, yn lle gwneuthur ewyllys Duw, oddiar ein ffordd; siaradwn ag ef pan roddwn i mewn ein cyfrif. Amser i weithio ydyw hwn; bydd y settlo i fod ar ol darfod. Blaenored pawb arnom y pryd hwnw, os gallant; ond bydd raid i ni ddyfod â rhywbeth yno heblaw cyfoeth. Y sawl fydd yn myned ag arian yno, yw y rhai a wariant yr arian a dderbyniant am lyfrau yn bresennol. Ond digon ar hyna, oblegid y mae rhwystrau i fod; awn trwyddynt, a chyflawnwn ewyllys Duw, ac yna cawn ein gwobrwyo â chyfoeth y nefoedd.

Gosoded llywydd pob cangen ryw ddarllenwr da i ddarllen yr anerchiad hwn yn gyhoeddus, yn nghlyw yr holl Saint, fel y byddo bywyd yn cael ei gyflwyno i bawb; a phob peth da a allo

efe ychwanegu, bydded er bendith. Ac os bydd y Saint am daenu y gwirionedd, am gynnyddu mewn rhif ac mewn gallu, ac am fyned i Seion yn fuan, byddant yn sicr o wneuthur ein hewyllys ni ac ewyllys Duw. Teimled pawb o'r Cymry dros y Cymry, am ein bod yn genedl fechan; mae cylchrediad ein llyfrau, o anghenrhaid, yn fach, tra y mae eiddo ein cymmydogion yn fawr. Ni ddylid, wrth gynnorthwyo y wasg Seisnig, anghofio ein dyledswydd tuag at y wasg Gymreig, yr hon sydd yn gorfod llafurio dan gymmaint o anfanteision. Nid yw y Gymraeg i ddarfod yn fuan, fel y breuddwydia rhai, onide i ba beth y cyfieithir yr Athrawiaeth a'r Cyfammodau a Llyfr Mormon, ac y sefydlir cangenau Cymreig yn St. Louis, Kanesville, a'r Dyffryn? Na, mae yr Arglwydd am gael POB llwyth ac IAITH i'w foli; canys y mae efe yn eu deall i gyd. Am hyny, ymegnïed pob brawd a chwaer i gyhoeddi y newyddion da i bawb yn ei iaith ei hun, nes y byddo bryniau a dyffrynoedd Gwalia yn adseinio.

Yn awr, terfynwn gan fendithio y Saint. Gras ein Harglwydd Iesu Grist fyddo gyda chwi oll. Amen.

Eich gostyngedig weision yn Nghrist,

WILLIAM PHILLIPS,
JOHN DAVIS,
THOMAS PUGH.

---

## GEMAU DOETHINEB.

NID oes neb mor ddiwyd i ddefnyddio amser ag ydynt i roi esgusodion dros ei gamddefnyddio.

Nid oes amrantyn o amser rhwng rhy gynnar y diafol a rhy ddiweddar.

Mae yn ffordd sicr i foddhau mewn cyfeillgarwch, i dalu y sylw dyledus i'r hyn a adroddir.

Fel y mae dynion synwyrol yn dywedyd llawer mewn ychydig o eiriau; felly, y mae y ffol yn siarad llawer, ac heb ddywedyd dim.

Unigrwydd a'n siriola pan fyddwn wedi blino ar gyfeillach; a chyfeillach a'n bywiocâ pan fyddwn wedi blino ar unigrwydd.

Hiraethu am glod sydd wendid; ac hunan-dyb yw cydymmaith cyffredin anwybodaeth.

## COFNODION Y GYMMANFA GYFFREDINOL A GYNNALIWYD YN NINAS Y LLYN HALEN FAWR, DESERET, EBRILL 6, 1850.

[PARHAD O DUD. 261]

*Dau o'r gloch, prydnawn.*—Ymgynnullodd y gymmanfa drachefn, ac a alwyd i drefn gan yr Henuriad Benson. Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan E. T. Benson, a chanwyd.

Cyfododd y Llywydd Young, a dywedodd, Gyda llawenydd a diolchgarwch i'm Tad Nefol, yr wyf yn edrych ar y gynnulleidfa hon gyda rhyfeddod. Yr wyf yn llawenhau wrth weled fy mrodyr a'm chwiorydd yn ymgynnull ynghyd i addoli yr Arglwydd. Mae yn wledd i mi i edrych ar y Saint. Mae yn llawenydd a gorfoledd i fod yn eu cymdeithas. Teimlwyf yn ddiolchgar am fod y fath nifer fawr wedi tirio yn ddiogel ar y mynyddoedd. Yr wyf yn edrych yn mlaen ar y dydd pan y bydd ugeiniau o filoedd yn ymuno â ni yn ein diogelfa unig. Mae yn fater o gysur i mi i gael y fraint o edrych ar y Saint. Gallaf ddweyd yn wirioneddol, fod hyn yn felysach i mi nâ'r diliau mêl. Y loddest fwyaf a allaf fwynhau, yw ymgyfeillachu â'r sawl a ymhyfrydant i wasanaethu yr Arglwydd â'u holl galonau. Ac yn nghanol pob cystuddiau ac amddifadrwydd, meddwn fraint na chawsom erioed o'r blaen, sef ymgynnull heb gael ein haflonyddu gan ein gorthrymwyr. Yr wyf yn ystyried rhagluniaeth Duw fel amlygiad newydd o'i ddaioni, wrth symud y Saint i'r lle hwn—wrth ganiatâu i ddrygioni y drygionus i'n symud i'r lle hwn. Gobeithiaf y gwnawn ddefnydd o'r cyfryw. Byddwn yn ddiolchgar pe gallwn gael fy nheimladau wedi eu boddloni yn y gymmanfa hon; i ryw raddau y maent, a byddant etto. Pan y meddyliaf am y fath ymdrechfa a llafur ag yr ydym wedi myned trwyddynt, llawenychwn am y fraint o edrych ar fy mrodyr am ddiwrnodau a diwrnodau. Mae yn le o ddedwyddwch i mi—y dydd yr hir edrychais am dano, i fwynhau y rhagorfreintiau sydd yn awr yn fy amgylchynu. Yn wir gallaf ddweyd, i mi edrych ar y bobl hyn, ddeg neu bymtheg mlynedd yn ol, gyda dysgwyliad y buasai pob dyn a benyw yn cael eu darostwng i'r bedd, eu bywydau yn cael eu treulio wrth bregethu, gwylied eu tai, ac amddiffyn eu teuluoedd, cyn y gallem fwynhau y fraint bresennol. Dysgwyl-

iais mai gan fy mhlant y buasai yn cael ei mwynhau, ond nid genyf fi. Yr wyf wedi cael fy siomi—hyn yw yr oll a allwn ddysgwyl—fy mywyd, fy ngwaith, yr oll a allwn ddysgwyl wyth neu ddeg mlynedd yn ol, a fwynheir genyf yn awr. Mae rhagluniaethau yr Hollalluog yn llefaru cyfrolau wrthyf, ac yn dywedyd wrth Israel, Byddwch ar eich gwyliadwriaeth. Saint y Dyddiau Diweddaf, byddwch ar dwr o wyliadwriaeth. Mae rhagluniaethau Duw, fel ag y maent yn cael eu hamlygu i'r ddaear, yn llefaru wrthym, a dylent gael eu cydnabod fel rhuad taranau, y bydd i'r Arglwydd gwtogi ei waith mewn cyfiawnder, oblegid byr waith a wna efe ar y ddaear.

Gallaf ddweyd wrth holl Israel, y mae yn bryd i ni ddihuno o'n cysgadrwydd, o'n teimladau marwaidd a chysglyd; dihunwch i gyfiawnder, a brysiwch y gwaith a osodwyd arnom, oblegid mewn dydd ac awr nad ydym yn ddysgwyl, wele Fab y Dyn yn dyfod, mor gyflym ag y mae olwynion amser yn troi, i ddwyn blinfyd, newyn, tân, haint, cleddyf, a'r dinystrydd ag sydd yn rhodio allan ganol dydd, neu ganol nos, ac yn difa ei filoedd; mae cenedloedd yn cael eu dymchwelyd; mae teyrnasoedd yn crynu ac yn syrthio: mae byd cyfan mewn cyffroad;—pa beth a allwn ddweyd? Gallaf fi ddweyd, gwyliwch! gwyliwch!! gwyliwch!!! frodyr, a byddwch ffyddlawn! Pan ddaethum yma boreu ddoe, yr oedd fy nheimladau yn hynod; gwelais ein bod am flynyddoedd wedi cael ein hamddifadu o'r fath fraint o gyfarfod ynghyd i addoli yr Arglwydd. Hwn yw y lle mwyaf cysurus a welais erioed i'r Saint gynnal eu cyfarfodydd yn ein lle o ymgasgliad. Pan oeddem ar wasgar yn y byd, yr oedd genym neuaddau gwychion; ond yn lle yr ymgasgliad, hwn yw y goreu. Beth nesaf, frodyr? Meddylia rhai, mi af i'r gymmanfa; ond os gwnaf, nis gallaf aros yno. Rhaid i mi fyned i'r kanyons, neu hela fy anifeiliaid. Hoffwn fyned i'r gymmanfa, ond y mae arnaf eisieu aredig fy nhir, neu gloddio fy nghae, neu fyned i'r felin, neu i'm fferm. Hyn wyf yn deimlo—teimlais ef ddoe. Mae genyf fi yr un gofalon â dynion ereill—gofal fy nheulu, y gwaith dyddiol sydd genyf; mae fy musnes o'm blaen; ond dywedais wrth fy anifeiliaid a'm diadelloedd, a'm hychain, gorphwyswch yn awr; weithwyr, attaliwch bawb eich goruchwylion; fy nheulu, parotowch i roesawi y sawl a a'wo gyda ni; gwnewch y goreu a alloch; parotowch y pethau goreu er eu diwallu â hwynt; ac wrth bawb oddiamgylch i mi

dywedais, gorphwyswch tra y byddwyf yn myned ac addoli yr Arglwydd. Mae wedi bod yn ymdrech fawr, fel dwy fyddin ddirfawr yn milwrio; yr oedd gelyn pob cyfiawnder wedi bod yn gwrthwynebu trwy ystormydd a tharanau, fel na fyddai i ni allu cael lle i gyfarfod; yr ydym wedi bod yn ymladd ac yn ymdrechu am flynyddau. Yr wyf yn cofio mai pedair blynedd i Chwefror diweddaf y gadawsom Nauvoo; oddiar yr amser hwnw hyd yn awr yr ydym wedi bod yn ymdrechu adeiladu lle i ymgyfarfod ynddo; lluddiwyd ni i gael Cynghor-dŷ, nid ym wedi ei gael etto; buom ddau auaf yn segur, ac y mae rhai o'r Henuriaid wedi anghofio bod Duw; maent wedi anghofio eu cyfammodau, eu haddunedau, a'u gweddiau; y maent wedi anghofio yr hyn ag oeddynt yn gofio unwaith, fel y peth cyntaf a blaenaf yn eu calonau. Fe ymgystadleuaf ag unrhyw ddyn a elo i aredig y fory, pa un a gwyd fwyaf o wenith, trwy aros yma y fory a mynu ein calonau yn wresog, neu fyned i aredig; gwelais hyn yn cael ei dreio, a'i brofi, sef pan fyddo Duw yn gofyn rhywbeth gan ei Saint, a hwythau yn ei gyflawni, y mae efe yn gallu rhoddi y cynnydd yn well, na phe byddent yn gwasanaethu eu hunain; nid oes y dyn cyntaf ag sydd wedi ennill y picayune gyntaf trwy fyned i un o'r kanyons ar y Sul, neu trwy weithio ar y dydd Sabboth; nid yw anghen yn gyru dyn i wneyd hyny, dim y fath beth, eithr dyna yw eu tueddiadau, a'r ysbryd sydd ynddynt. Nid oes un angheu myned i'r kanyons, neu gyrchu eich anifeiliaid ar y dydd Sabboth, byddai gystal i chwi aredig; ond teimla rhai megys pe na allent hebgor amser ar ddiwrnod o'r wythnos. Yr ydym wedi treio hyn wrth drafaelu er pan gadawsom Nauvoo, a dim unwaith wrth drafaelu ar y dydd Sabboth, yr ennillasom trwy hyny, ond collasem ddiwrnod neu ddau yr wythnos ganlynol i dalu y pwyth. Beth yw y niwed? Mae yn profi eich bod yn anmharchu rheolau Duw natur,—y Duw a wasanaethwn ni. Mae y cyfreithiau sydd wedi rheoleiddio yr elfenau yn gwybod pa beth a allant ddyoddef; dywedodd Ef wrth ddyn, wedi i chwi weithio chwe diwrnod, gorphwyswch un, i adfywio eich cyrff; gadewch i'ch ceffylau a'ch anifeiliaid sy'n gweithio i orphwys; eich gwrrywod a'ch benywod, gadewch iddynt hwythau orphwys; nid wyf yn meddwl gorphwys fel Cristionogion, marchogaeth deg milltir i gyfarfod, ac yna marchogaeth pump ar hugain er mwyn pleser; ond meddyliaf Sabboth Saint: nid oes cenedl

na phobl yn cadw y Sabboth, nac un Cristion, o'r Pab hyd at y diwygiwr diweddaraf; nid oes un yn ei gadw, nac oes un, os na fydd yn glaf; os oes un, trwy gamsynied neu ddygwyddiad y mae. Yn awr, nid ydych yn ennill dim trwy gyfnewid ordinhadau natur i ateb eich dymuniadau eich hunain; gadewch iddynt oll orphwys, ac wedi i'r ddaear ddwyn ffrwyth am chwe mlynedd, gadewch iddi orphwys y seithfed; nis gallwch wneyd dim trwy droseddu un o reolau Duw natur; a phe byddai ein cymmydogion dwyreiniol wedi gwneyd felly, buasai eu tir mor dda â phan y gwelsant ef gyntaf. Byddai gystal genyf fi orphwys wythnos gyfan, a gadael pob peth i orphwys wythnos; canys onid ydym wedi gweithio mwy na chwech Sabboth? Os aroswn wythnos gyfan, ni thalasem y ddyled; a gwna Duw natur ei dwyn oll yn ol etto. Os bydd i mi frysio y Gymmanfa hon, bydd raid i mi frysio pob materion o fusnes, a phob araeth, ac yna ni thrigai yr ysbryd gyda ni. Yr wyf am i chwi deimlo fel ag yr wyf fi yn teimlo; aroswch yma, a threuliwch wythnos yn y Gymmanfa, os bydd eisieu. Mae llawer o bersonau yn teimlo eu bod mor dlawd, fel y mae rhaid iddynt fyned i'r mwngloddiau aur, a byddant yn y fath frys fel yr anghofiant weddio; nis gall y llall dreulio diwrnod o'r wythnos i fyned i ymofyn coed neu gyrchu ei anifeiliaid; gallwch weled yr esiampl, tlawd ydynt a thlawd a fyddant, a maes o law dihunant yn uffern. Nid yw yn ddywediad boneddigaidd, ond y mae yn athrawiaeth wirioneddol; ânt lawr i uffern, yn dlawd a noeth. A ydyw y rhai hyny sydd yn myned i'r cwrdd bob Sabboth yn myned i ymgyfoethogi? Dim yn union. Cânt fwy o wenith; gallwch fyw yn gynnil, a gorphwys ar y seithfed dydd, ac arnoch chwi y bydd oreu. Nid wyf fi yn myned i ddymuno dim ond ewyllys fy Nhad o'r nefoedd; os bydd i'm Tad fy ngwneyd yn gyfoethog, byddaf yn foddlongar; ac os wyf yn dlawd, byddaf yn foddlongar o hyd, a byddaf yn foddlongar gyda phob dynion da a phobl dda. Mae yn ffiaidd genyf fi i weled dyn yn caru y byd hwn yn ei drefn bresennol. Edrychwch ar freninoedd ar eu gorseddau, mae eu coronau yn syrthio wrth eu traed, nid yw eu dolars hollalluog yn gwneyd un lles iddynt, mae eu cyfoeth a'u golud wedi ffoi, mae cenedl ar ol cenedl yn cael ei diorseddu ac yn malurio yn llwch. Sylwch ar ieuenctyd yn ei harddwch—gosodir ef yn isel yn y bedd! Mae cyfoeth

yn cymmeryd adenydd y boreu, ac yn ehedeg ymaith; y mae islaw calon y dyn sydd yn caru Duw a'i Ysbryd.

Dymunaf ar y brodyr i wrandaw ar yr egwyddorion a roddir allan y boreu hwn ar anturiaeth, ac ynghylch eu rhodiad beunyddiol. Yr ydym ni yma, a'n dyledswydd yw cynnal ein hunain yn y lle hwn, ac hefyd y rhai hyny a ddaw atom. Mae genym ddyledswydd i'w chyflawni i'n brodyr. Yr ydym dan gyfammodau santaidd a christionogol i gynnorthwyo ein brodyr sydd wedi eu gadael yn y Taleithiau, nes y byddont yn cael eu casglu yma. Cofiwn am y tlodion sydd etto mewn caethiwed, a gofynwn pa beth a allwn ni wneyd i'n brodyr tlawd y tymmor hwn? Un o'r pethau mwyaf eu pwys a allwn ni eu gwneyd, yw codi ŷd i gynnal ein hunain, a'r rhai hyny a ddaw yma.

Mae genyf ychydig o eiriau i ddweyd ar Formoniaeth, fel ei gelwir, ond i ni, athrawiaeth iachawdwriaeth; gallaf ddweyd fy mod yn gwybod ei bod yn wir. Gwyddwn am flynyddau a blynyddau fod Joseph yn brophwyd. Ni chofleidiais Formoniaeth, oblegid fy mod yn gobeithio ei bod yn wir, ond oblegid mai hi oedd yr egwyddor a achubai yr oll o'r hil ddynol ag a ufyddhaai iddi, a gwnelai hwynt yn gyfiawn. Bu Joseph Smith fyw a marw yn brophwyd, a seliodd ei dystiolaeth â'i waed; bu fyw yn ddyn da, a bu farw yn ddyn da, ac yr oedd yn ddyn mor dda â neb a fu byw erioed; ac y mae llais yr Arglwydd i'w glywed o hyd dros y bobl hyn. Am danaf fy hun, yr wyf fi yma bron fel yr oeddwn yn nyddiau Joseph. Ni chymmerais arnaf erioed fod yn Joseph Smith. Nid y fi yw'r dyn a ddygodd allan Lyfr Mormon, ond yr wyf yn tystiolaethu am ei wirionedd. Apostol wyf fi i ddwyn tystiolaeth i'r Cenedloedd am yr oruchwyliaeth ddiweddaf hon, ac hefyd i'r Iuddewon. Gallaf ddweyd fod calon dyn yn awyddus o hyd am rywbeth, bron fel plant bychain; yr ydym yn fynych yn gweled plant pan yn cael eu hymborthi â phastai pumpkins a theisen felys, yn bwyta nes y byddont yn cael eu llanw gan boen, a gwaeddant am ragor. Mae yr Henuriaid wedi cael cymmaint o ddadguddiad, nes y mae wedi eu gosod mewn poen, o herwydd na wyddant y ffordd i'w dreulio, ac etto y maent yn gwaeddi am ragor. Yr ydych chwi yn byw ac yn gweled yr amser ag oedd breninoedd a phrophwydi yn ddymuno weled, ond a fuont feirw heb fwynhau hyny. Eich braint chwi, a'm heiddo innau, yw derbyn dadguddiad, a'm braint yw cyfarwyddo yr

eglwys. Dyma gwmwl o dystion oddiar farwolaeth Joseph neu ddychweliad y Deuddeg i Nauvoo, fod pob peth wedi cael ei gyfarwyddo gan y Deuddeg, efo eich gostyngedig was wrth eu pen; a allai hyny gael ei wneyd yn well? A gafodd y bobl hyn neu ryw bobl arall, erioed eu harwain, eu hymborthi, neu eu cynnorthwyo yn fwy tirion a ffyddlawn, nag a gafodd y bobl hyn gan y Deuddeg a'r sawl a'u helpent? Naddo, hyd y nod yn nyddiau Joseph. Oddiar y dydd y cefais fy medyddio hyd yr amser presennol, yr wyf yn teimlo fel pe byddwn mewn byd arall, mewn bodoliaeth arall. Nid wyf byth yn edrych yn ol ar yr hen fyd,—y mae megys edrych i uffern. Nid oes genyf ond un dymuniad, a hwnw yw gwneuthur ewyllys fy Nuw, a dyna yw yr holl ewyllys a fu genyf fi erioed. Yr wyf yn ceryddu fy mrodyr, yn cael bai ynddynt, ac yn rhoddi cynghor iddynt; ond na ddyweded neb nad yw y cynghorion a roddwyf yn iawn; yr wyf yn herio unrhyw ddyn i ddweyd na ddywedais wrthynt yn iawn.

Y peth nesaf. Mor fuan ag y byddo rhyw rai o'r Deuddeg yn cael eu hanfoddloni, ciliant ymaith; ni feddant y gwyneb i ddod i'r Cynghor a dweyd, "Ffarwelwch, yr wyf yn myned i uffern ar fy ffordd fy hun;" na, ddim hyd y nod John E. Page. Yr wyf yn cofio unwaith yn nechreuad yr eglwys hon, i ddewin ei chofleidio, ond ni allai gael ei foddloni; fe ddaeth ac a ddywedodd ei fod ef wedi trafod yr offeiriadaeth wyrdroedig gymmaint, nes y mae'r llwybr a gymmerais tuag i waered—mae y diafol wedi cael gormod gafael arnaf, nis gallaf fyned gyda chwi; ond mae y lleill yn cilio ymaith.

Gadewch i mi eich hysbysu mai gwirionedd yr Arglwydd Dduw Hollalluog yw hyn, os na wna dyn yn iawn, y bydd i Dduw ei symud ef allan o'i le ar fyrder.

Ni ofnais i erioed ynghylch Joseph, er fod llawer yn petruso ac yn ofni y buasai Joseph yn myned ar gyfeiliorn. Nid oeddwn i yn gwasanaethu Joseph, ond cymmerais yn esiampl yr athrawiaeth a ddadguddiodd yr Arglwydd trwyddo. Nid oedd posiblrwydd i Joseph arwain y bobl ar gyfeiliorn. Pe meddyliwn y dyoddefai Duw i ddyn arwain pobl gyfiawn ar gyfeiliorn, ni wnawn i ei wasanaethu, gadawswn ef, a chwiliaswn am un arall; yr wyf fi yn gwasanaethu Duw Abraham, Isaac, a Jacob, Duw ein tadau; y mae efe wedi galw Joseph, ac ni ddyoddefa iddo byth i arwain y bobl hyn ar gyfeiliorn; ond wedi iddo orphen ei

waith, efe a'i cymmera ato ei hun. Ni fum i erioed yn ofni ynghylch fy nghyfeillion, ac nid oes achos i chwithau ofni; ni wna yr Arglwydd Hollalluog byth adael ei bobl i fyned ar gyfeiliorn, os na fyddant hwy fel pobl am ddilyn drygioni; na wna byth, byth, byth.

A ydych chwi yn adwaen gair yr Arglwydd pan yr ydych yn ei glywed? Ewyllys yr Arglwydd y mae ef am i'w bobl wneuthur. Gyda golwg ar ddadguddiad, dywed rhai ei fod wedi darfod; nid oes dim o'r fath beth. Gallwn i roddi dadguddiad i chwi mor gyflym ag y gallai dyn redeg, yr wyf yn nghanol dadguddiad. A ydych chwi am ychwaneg o ddadguddiad wedi ei ysgrifenu? Aroswch nes y byddoch wedi ufyddhau i'r hyn sydd wedi ei ysgrifenu yn barod.

Yn y ddwy flwyddyn olaf o fywyd Joseph, y mae Joseph wedi tori allan gymmaint o waith ag a allwn ni gyflawni mewn ugain mlynedd. Nid oes tuedd ynwyf fi i geisio rhagor, nes y gwelaf y rhai sydd genym yn cael eu hufyddhau. Dywedaf wrthych un peth, os ufyddhawn ni i air yr Arglwydd, bydd raid i'r bobl hyn roi heibio yfed whiskey, a rhoi heibio defnyddio cymmaint o ddybaco, tê, a choffi. Nid crefydd ydyw treulio ein hamser mewn ymweliadau dibwys, neu afradloni eich hamser, fel y mae llawer yn gwneyd. Pan yr wyf yn edrych ar y byd ac yn clywed awelon y diafol, yr wyf yn dweyd, Chwythwch yn mlaen. Gobeithiaf y caf fyw i gyflawni fy mwriadau ynghylch ymladd â'r diafol; ac os na fyddaf byw, y mae dynion ereill a gymmerant fy lle, y rhai a fyddant gystal er ymhongian yn mlaen, ag yr wyf fi, neu y bu Joseph.

Mae fy nheimladau yr un fath ag yr oeddynt pan gefais fy medyddio, i wneuthur ewyllys fy Nuw. Pan fyddo genym Ysbryd yr Arglwydd, yr ydym yn gweithio ynghyd mewn undeb, a gwnawn gyflawni y bwriad yn gynnarach neu ddiweddarach. Arferai Joseph ddweyd, "Peidiwch brawychu, nid wyf wedi gwrthgilio etto;" ac ni wnaeth. Yr wyf yn dywedyd, frodyr, nid wyf finnau wedi gwrthgilio, ac nid yw cryn lawer o rai ereill. Mae genym ni i gasglu Israel, a gweled iachawdwriaeth Israel; ac os na fyddaf byw i gyflawni hyny, deuaf yn ol i'w fwynhau. Yr wyf yn dweyd, Deuwch yn mlaen, henuriaid Israel, a phregethwch ddirgeledigaethau y deyrnas. Pan fyddo rhyw egwyddor yn dyfod i'ch dealltwriaeth, nid yw mwyach yn ddirgelwch; ond,

wele, mae y dirgelwch wedi ehedeg, ac y mae pob peth yn rhwydd i'w amgyffred; mae y cyfan yn syml—mae y cyfan yn blentynaidd—ac mae y cyfan yn Dduwiol.

Cynnygiwyd fod Claudius Spencer i fyned ar genadiaeth i Lloegr; cariwyd.

Cynnygiwyd fod Simon A. Dunn ac Uriah B. Powell i fyned i'r Society Islands; cariwyd.

Chwareuodd y côr dôn fywiog.

Gofynodd y Llywydd H. C. Kimball os oedd y bobl yn ymdeimlo i barhau y Gymmanfa ddiwrnod arall; yr oedd efe yn ymdeimlo i ni aros yma ychydig o ddiwrnodau. Cynnygiwyd fod y Gymmanfa i barhau un diwrnod arall; cariwyd.

Canodd y côr hymn. Terfynwyd gan G. A. Smith.

*Dydd Llun, Ebrill 8, deg yn y boreu.*—Cyfarfyddodd y Gymmanfa yn unol â'r gohiriad. Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan W. W. Phelps, a chanwyd.

Cynnygiwyd fod Isaac C. Haight, Moses Clawson, Appleton M. Harmon, Jesse Crosby, a William Burton, i fyned ar genadiaeth i Lloegr, i bregethu yr efengyl; cariwyd.

Cynnygiwyd fod Jonathan Crosby i fyned ar genadiaeth i'r Society Islands, a James Bay i Ohio; cariwyd.

Rhoddwyd cyfarwyddiadau iddynt gan y Llywydd Kimball, yr hwn a gynghorodd yr holl Henuriaid, pan yn myned ar genadiaethau, i adael eu teuluoedd gartref, ac yna bydd eu meddyliau yn fwy rhydd i wasanaethu yr Arglwydd.

Triniwyd llawer o faterion lleol, a rhoddwyd cyfarwyddiadau ar amrywiol ddyledswyddau.

Wedi hyny rhoddodd y Llywydd Young rai addysgiadau yn nghylch cyfraith y degwm. Mae yr Arglwydd ei hun wedi sefydlu yr egwyddor trwy Joseph y prophwyd, a hyny yw, fod holl aelodau Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, i dalu y ddegfed ran o'r oll sydd ganddynt i ddechreu, ac wedi hyny y ddegfed ran o'u cynnyrch. Ar ol gwneyd rhai sylwadau yn mhellach, dywedodd fod arnom eisieu adeiladu tŷ mawr a fferm er gosod y tlodion ynddynt, mor fuan ag y byddont yn cyrhaedd yma. Dim ond eich degfed yr ydym yn ymofyn. Nid wyf yn gofyn gan fy mrodyr ond yr hyn ag wyf foddlawn roddi fy hunan; a'r hyn wyf fi yn wneuthur fel eich blaenor neu lywydd, dylech chwithau fod yn foddlawn i wneuthur yr un fath.

Mae arnom eisieu adeiladu ystordy mawr, ac hyderwyf y caf weled y dydd pan y bydd arnom eisieu ychydig o weddeuau, neu ychydig filoedd o fwsheli o ŷd, i ddanfon i gynnorthwyo y tlodion; yr oll fydd genym i'w wneyd fydd myned i ystordy yr Arglwydd, heb alw ar y brodyr i gyfranu. Cawn etto weled y dydd pan na fydd genym ddyn tlawd yn ein plith, a bydd y cleifion a'r rhai anghenus mewn sefyllfaoedd cysurus am fwyd a dillad, &c.

Yna gwnaeth ychydig sylwadau ar y pwnc o fesmeryddiaeth a swynyddiaeth yn y dyddiau gynt, gan ddangos fod gallu y mesmeryddwyr yn gwbl ddiniwed i henuriaid ffyddlawn Israel.

Gwnaeth G. A. Smith rai sylwadau ar erwindeb y tywydd ar y mynyddoedd yn yr hydref, a'r bwriad o ddanfon allan nifer fawr o Henuriaid; ac mewn trefn i ochelyd llawer o ddyoddefiadau iddynt hwy, cynnygiodd ein bod i ohirio y Gymmanfa hon hyd y dydd Gwener cyntaf yn Medi, y pryd hyny i ymgyfarfod yn y Bowery, yn Ninas y Llyn Halen Fawr, am 10 yn y boreu; cariwyd yn unfrydol.

Chwareuodd y cerddorion dôn fywiog.

Gweddiwyd gan yr Henuriad David Fulmer, pan y gohiriwyd y Gymmanfa gan y Llywydd Young trwy fendithio y bobl yn enw yr Arglwydd.

THOMAS BULLOCK, *Ysgrifenydd y Gymmanfa.*

---

## LLYTHYR O DDINAS Y LLYN HALEN FAWR.

*Dinas y Llyn Halen Fawr, Ebrill* 14, 1850.

ANWYL FRAWD DAVIS,—A fyddwch mor garedig â rhoddi lle yn eich UDGORN soniarus i'r llythyr hwn, fel y caffo y rhai a ddymunasant arnaf i ysgrifenu atynt eu hateb trwyddo; canys byddai yn ormod gwaith i mi ysgrifenu at bawb a ddymunwn yn bersonol. Gobeithiaf y gwna fy hen frodyr a'm chwiorydd ffyddlon tua Llanybydder a Brechfa, a manau ereill, eu goreu i wasgaru yr UDGORN trwy y wlad, fel y caffo y rhai a ddymuna ddarllen ein hanes.

O ddaioni fy Nhad nefol tuag ataf fi a'm teulu, cyrhaeddasom yma, sef i gyffiniau y Dyffryn, oll yn iach, ar y 29ain o Hydref. Yn y cyfamser daeth ein llywydd parchus, Brigham Young, a'i

ddau gynghorwr gydag ef, i ymweled â ni, sef yr oll o'r Cymry; a mawr y cysur a gawsom oll wrth wrando ar ein croesawiad i'r Dyffryn ganddo, a'i gynghorion rhagorol mewn perthynas i'n sefydliad yma. Cynghorodd ni i fyned i'r ochor orllewinol i'r ddinas, i aros tua thair milltir o'r ddinas, i'r diben i'n hanifeiliaid gael gwell porfa. Gwersyllasom ar lan afon yr Iorddonen, yr hon sydd yn rhedeg yn union o Lyn Utah i'r Llyn Halen; lled yr afon yw tua chan troedfedd, cyfartalwch ei dwfnder tua phum troedfedd. Yn yr afon hon y mae digonedd o bysgod mawrion; ac hefyd disgyna arni luoedd o wyddau ac hwyaid gwylltion, ac ar lynoedd bychain sydd ar ei glan. Dyma le rhagorol i'r rhai a ymbleserant i saethu y *game*, heb achos ofni neb. Mae yma ewyllys rydd i bawb ladd y nifer a ewyllysiant. Buom ni fel teulu yn byw yn ein wageni fis o amser yma cyn cael ty; yr oeddem yn dra chysurus yn y modd hyny, o herwydd bod genym dô da ar ein wageni, a *stove* yn un o honynt at ddigoni bwydydd, &c. Buom fyw mewn ystafell a gawsom wed'yn yn y ddinas tua phedwar mis; ond yn awr yr ydym yn ein ty ein hun, ar ein *city lot*, yr hon a alwn yn ddinas fraint. Maint y *lots* yw cyfer a chwarter, yr hyn a feddianna pob un heb arian ac heb werth, ond yn unig talu am ei fesur, a'i *recordio*, h. y. dolar a hanner. Dewisodd y Cymry gael eu city lots ar ochr orllewinol y ddinas, ar wastadedd hyfryd; y mae y rhan fwyaf o dri block yn meddiant hil Gomer. Maint y *blocks* yn gyffredin yw deg erw, yr hyn a wna wyth *lot* yn mhob *block*. Credaf ein bod wedi cael y tir mwyaf ffrwythlon yn y ddinas, er ei fod oll yn rhagorol dda. Fy rheswm dros ei fod mor dda yw, o herwydd ei fod yn fwy gwastad ac isel na manau ereill o'r ddinas. Pridd du bras yw ein tir; ei ddyfnder nis gwn yn gywir, ond gwn ei fod mewn rhai manau tua chwech troedfedd. Sylwais wrth weled ol rhai yn tori i lawr i gael dwfr yn gyfleus wrth eu tai; yr olwg ar y pridd yn y dyfnder hyny sydd ddu a bras. Bwriada y rhan fwyaf o'r Cymry i adeiladu ar eu *lots* y flwyddyn hon. Y mae digon o le i filoedd o'r Cymry a ddeuant etto, yn agos atom. Nid oes nemawr o gost yma i gadw anifeiliaid. Yn y gauaf, o herwydd maintioli a brasder y dyffryn, cedwir ceffylau, ychain, a gartheg allan trwy y gauaf; ond cadwa rhai eu gwartheg wrth eu tai, a rhoddant wair iddynt, fel ag y byddont yn fwy cyfleus i'w godro. Caiff pawb o'r Saint

yma gymmaint o dir ag a ewyllysiant at ei lafurio, heb dalu dim i neb ond am ei fesur, a'i *recordio*. Yr ydym ni, yr ychydig Gymry a ddaeth yma, wedi dewis ein tir llafur yr ochr orllewinol i afon yr Iorddonen, tua phum milltir o'r fan lle yr ydwyf yn byw. Cyfodir yma gnydau toreithiog neillduol o wenith, barlys, Indian corn, a cheirch, tatws, *squashes*, *water-mellons*, *cabbages*, a phob math o lysiau gerddi faint a fyner. Rhoddaf ychydig o hanes ffrwythlondeb y dyffryn mawr hwn. Hauodd Mr. Halliday un bwshel o wenith, a elwir y *touse wheat*, a chafodd oddiwrtho 183 o fwsheli; hauodd un arall un bwshel o datws, a chafodd 330 o fwsheli. Dywedir y ceir oddiwrth y barlys a gafwyd o California, tua 100 bwshel oddiwrth un o heuad. Efallai y bydd yr hanes hyn yn rhy dda gan rai o'r Cymry yna ei gredu, ond etto, ni fydd yn llai gwirionedd o achos hyny. Pa lesâd i mi fyddai anfon tystiolaethau anghywir yna? y rhai a ddeuant yma a gânt wybod eu hunain. Yr achos, feddyliaf i, o fod y llafur yn dyfod mor doreithiog, yw, nad oes eisieu hau yma ond yn deneu iawn. Clywais rai yn dywedyd yma fod hanner bwshel o wenith yn ddigon i hau erw; yr un faint o farlys. Ymledaena y llafur yma wrth dyfu yn neillduol, o herwydd brasder y ddaear: a chydnabyddir yma ddaioni a chariad ein Tad nefol yn ein bendithio yn dymmorol yn gystal ag yn ysbrydol. Rhagwelodd y prophwydi santaidd y dyffryn hwn, a llefarasant am dano. Gwel Esay xxxii, ac o'r 15fed adnod hyd ddiwedd y bennod. Deallir y ddwy adnod ddiweddaf yn y bennod, a'r rhai ereill hefyd, yn hawdd iawn; canys gwelwn yn fynych y "cenllysg yn disgyn ar y coed," pan nad oes dim yn disgyn arnom ni yn y ddinas isel hon. Da yw hau gerllaw pob dyfroedd yma, o herwydd nad oes cymmaint o wlaw yma yn yr haf â rhai gwledydd ereill. Y mae anghenrheidrwydd i ddwfrhau y tir weithiau yma; teimlaf innau yn ddiolchgar i fy Nhad nefol am fod fy nhir innau ar lan afon yr Iorddonen, a gallaf yru traed yr ychain yno pryd y mynwyf. Efallai na chredir yr adnodau uchod yn llythrenol gan bawb yn Nghymru, ond digon tebyg yr ysbrydolant hwynt i feddwl rhywbeth arall, os nad ydynt wedi gadael yr hen arfer. O, mor hyfryd yr amgylchynir ni yma gan fynyddoedd uchel, y rhai sydd a'u penau ar brydiau i weled uwchlaw y cymylau, pa rai a orchuddir ag eira tragywyddol. Mae yr olwg arnynt fel pe byddent yn tystio

na chaiff un gelyn i ddyfod yma i wneuthur niwed i'r Saint. Clywsoch am y ffynnonau rhagorol sydd yma, pa rai sydd hynod o feddyginiaethol. Mor hyfryd yw ymolchi yn y ffynnon dwymn; y mae yma un arall mor boethed nas gellir goddef bys ynddi yn hawdd yn hwy na tra byddis yn rhifo o ddeg i bymtheg; mae digon o ddwfr ynddi i droi melin fawr, neu ychwaneg.

Y mae prisiau rhagorol yma i ddynion am eu gwaith. Ennilla saeri meini yma ddau dolar a hanner y dydd; saeri coed, dau ddolar y dydd: o chwech i ddeg dolar i daeliwr am wneyd côt; *labourers*, dolar a hanner y dydd; a chofiwch na raid gweithio mor galed yma ag yn Nghymru. Ennilla rhai o'r brodyr Cymreig yma o dri i bedwar dolar y dydd wrth gloddio, wrth y *job*. Nid yw yr Americaniaid yn gyfarwydd â chloddio. Felly, gwelwch mor hawdd yw byw yma. Pris y gwenith yma yn awr yw 4 dolar y bwshel; Indian corn 2 ddolar; costia iau o ychain yma o 70 i 100 dolar; costia buwch tua 30 dolar; ceffyl da o 150 i 200 o ddolars; mae dolar yma yn 4s. 2c. o'ch arian chwi yna. Nid ydwyf yn anfon y tro hwn at fy anwyl frawd Dafydd, a'm chwiorydd hoff, o herwydd fod y brawd Jones wedi anfon yn ol oddiar y ffordd y cawsai Dafydd ddyfod yma y flwyddyn hon gyda y ffyddlon frawd Abel Evans, a'r brawd Howell Williams, ac ereill. Gobeithiaf eu bod yn dyfod; byddai yma lawenydd mawr eu gweled. Gobeithiaf fod fy anwyl dad yn dyfod hefyd ar y daith tuag yma. Dymunwn yn fawr glywed pa fodd y mae Sarah fy chwaer; os nad yw ar ei thaith tuag yma, ynghyd â theulu Cefncrwth, Mydrim, gobeithiaf eu bod yn awr yn aelodau yn Eglwys Iesu Grist, ac y byddant yn Seion cyn bo hir.

Anwyl frodyr a'm chwiorydd, dyma le hyfryd, dyma lle y mae ffynnonell goleuni a gwybodaeth ar y ddaear, dyma lle y mae yr hwn sydd yn dal allweddau teyrnas Dduw ar y ddaear; yma y clywir y deuddeg yn pregethu yn rhagorol ar ddirgeledigaethau teyrnas Dduw; ond nid oes anghen gymmaint i annog y Saint i ddyfod yma, canys os ydynt yn cadw ganddynt yr Ysbryd Glân, dangosa iddynt yr angheniheidrwydd am y waredigaeth hon. Nis gwn pa bryd y deuaf i Gymru. Ni anfonwyd neb o'r Cymry o'r gymmanfa ddiweddaf ar genadiaeth i un man; ond cafodd rhai eu danfon i Loegr, ac i wahanol ynysoedd y mor. Cynnaliwyd y gymmanfa ar y 6fed a'r 7fed o'r mis hwn,

yn y Tabernacl, yr hwn sydd yn hynod o fawr, ond er hyny yn rhy fach i gynnwys yr oll a ddaethant yno. Cafodd y Cymry eu hannog gan ein llywydd parchus, Brigham Young, i ganu cân Joseph â Hyrum. Cara y Saeson yma yn fawr glywed y Cymry yn canu. O, mor hyfryd yw cael dianc o'r caethiwed blin i fysg goreuon y ddaear, lle y mae cyfiawnder a santeiddrwydd yn cartrefu, lle y cawn addoli Duw heb neb i'n haflonyddu na'n dychrynu, tua mil o filltiroedd oddiwrth bawb, ond y Lamaniaid, y rhai sydd yma a thraw yn y mynyddoedd, sef had Joseph, yr hwn a werthwyd i'r Aifft.

Cyn y terfynaf, dymunwn ddywedyd ychydig wrth y rhai sydd heb ufyddhau i efengyl Iesu Grist; a thyma yw,—Cofiwch wrando ar weision Duw yna, sef pregethwyr y Saint, canys nid oes yna neb a all draethu i chwi ffordd iachawdwriaeth, ond hwy yn unig; am hyny gwrandewch arnynt, ac ufyddhewch i'w dysgeidiaeth, fel y byddoch chwi gadwedig. Pe bawn yn ymresymu yn hir, nis gallwn roddi i chwi well cynghor.

Gobeithiaf y gwel Mr. Davies, Clynglase, plwyf Llanwrda, y llythyr hwn. Hyderaf ei fod ef a'i deulu serchog yn yr eglwys yn awr.

Nid oes genyf amser i ysgrifenu rhagor; mae y *mail* yn gadael yma boreu fory.

Anwyl Saint, ffarwel "am enyd fach, nes cawn eich gweled oll yn nhref." Mae fy nheulu yn cyduno â mi i'n cofio yn fawr at yr holl Saint yn Nghymru, yn enwedig yn Llanybydder a Brechfa, a sir Aberteifi. Gobeithiaf bod y Saint anwyl, y rhai a garaf gymmaint, yn para yn ffyddlon; a bydded i'r Duw grasol, yr hwn a'u galwodd o dywyllwch i oleuni, eu bendithio ag ysbryd cariad, undeb, a thangnefedd, a'u hachub yn y diwedd yn ei deyrnas nefol, yr hyn yw parhaus weddi

Eich anwyl frawd yn Nghrist Iesu,

THOMAS JEREMY.

D.S.—Carwn yn fawr gael amryw lythyron oddiwrth fy mrodyr a'm ffryndiau yn Nghymru. Danfonent fel hyn:—"Thomas Jeremy, Great Salt Lake City, California, North America."

Hyderwyf y bydd i chwi, anwyl frawd Davis, i gymhwyso pob gwall a weloch yn fy ysgrifen.

## I'R ARWYDD-GEISWYR.

Tôn—"Life let us cherish."

Pwy alwai Grist yn yfwr gwin?
Yn dwyllwr, pechadurus ddyn,
A phenaeth y cythreuliaid blin,
A chyfaill i rai drwg?

Rhai godinebus,
A doethion oe'nt i gyd;
Cenedl ddrygionus,
Drofaus y byd.

Pwy oedd o'r bron yn fawr eu bref,
Am gael rhyw arwydd mawr o'r nef;
A phwy fu'n dweyd, "Disgyned Ef,
I lawr oddiar y groes?"

Rhai godinebus,
A doethion oe'nt i gyd;
Cenedl ddrygionus,
Drofaus y byd.

Pwy sydd etto'n dweyd yn hy,
Rhowch wyrth, rhowch wyrth, rhowch wyrth i ni?
Pe caem ni wel'd eich gwyrthiau chwi,
Ni gredem ni bob un.

Rhai godinebus
A waedd am wyrth o hyd;
Cenedl ddrygionus,
Drofaus y byd.

Mae Moses a'r prophwydi cu,
Yn aros etto gyda ni,
A geiriau'r Prophwyd mwyaf fu,
Yn para yn eu grym.

Rhai godinebus,
A waedd am wyrth o hyd;
Cenedl ddrygionus,
Drofaus y byd.

Pe codid meirw 'nawr yn fyw,
Pe gwelech wyrthiau nerthol Duw,
Nis credech chwi,—gwirionedd yw,
Mae gair ein Duw o'n tu.

Rhai godinebus
A waedd am wyrth o hyd;
Cenedl ddrygionus,
Drofaus y byd.

*Graig-ddu.* J. RICHARDS.

---

## UNDEB.

MR. GOL.,—Cymmeraf y cyfleusdra hwn, am y waith gyntaf, i udganu yn eich UDGORN, er dangos angbyssondeb crefyddolion ein gwlad yn eu dall o fyned yn y blaen. Gwelwn mai annog y Saint i undeb oedd gweision Duw; ac y mae bod yn amddifad o undeb, yn cau pawb allan o gylch llwyddiant a chysuron ysbrydol. Dyma oedd gweddiau taeraf Iesu Grist. Ond pan edrychom ar grefyddolion ein gwlad, y maent yn hollol groes; yr undeb a ganfyddwn yn eu plith hwy yw ymraniadau; ac nid rhyfedd, o herwydd gwadant y gwrthddrychau a roddodd Crist er eu dwyn i undeb. Dywedodd Sant Paul mai un corff sydd, un Ysbryd, un Arglwydd, un ffydd, un bedydd, un Duw a Thad oll; ac y mae y rhai a roddes Crist yn apostolion, a'r rhai a roddes efe yn brophwydi, a'r rhai a roddes efe yn efengylwyr, ac felly yn y blaen, wedi cael eu rhoddi, nid i ffurfio sect neu blaid, a galw y rhai hyny ar eu henwau eu hunain, ond i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, i adeilad corff Crist, ac i ddangos yr angenrheidrwydd o gadw undeb i fyny, ac i ochelyd pob ymbleidiaeth—hyny yw, peidio cymmeryd eu harwain gyda phob awel dysgeidiaeth, trwy gymmeryd eu harwain gan heresiau dinystriol. Dyma fel yr oedd, a dyma fel y mae; yr un peth yw y natur ddynol yn mhob oes o'r byd. Gallesid meddwl fod pob diogelwch wedi cael ei wneuthur gyda golwg ar yr eglwys hon, ac na fuasai yn ngallu neb rhyw ddyn na dynion i arwain neb ar gyfeiliorn yn dragywydd; ond o'r dechreuad y mae ysfa mewn rhai dynion i gymmeryd pethau Duw o'i ddwylaw ef i'w dwylaw eu hunain, ac i osod pethau Duw o'r neilldu, a gosod eu pethau

eu hunain i fyny yn eu lle. Y rhai hyn yw y rhai sydd yn dysgu bob amser, ac un amser heb ddyfod i wybodaeth o'r gwirionedd; y rhai hyn sydd yn anianol, heb fod yr Ysbryd ganddynt, yn rhedeg ar ol yr athraw hwn a'r athraw arall, am eu bod yn pregethu pethau nad ydynt yn eu deall.

Terfynaf yn awr, gan obeithio y bydd i'm cydwladwyr adael pethau felly ar ol, a gwneuthur gorchymyn Paul, sef "profi pob peth, a dal yr hyn sydd yn dda."

*Tre-Sior.* J. ROBERTS.

---

## PENNILLION,

*A gyfansoddwyd pan ar daith i California, Gogledd America.*

TÔN—"Ty fy Nhad."

Fy holl berth'nasau fawr a mân,
Gwrandewch fy nghân yn awr,
Fe ge's ofidiau ar fy nhaith,
Fu bron a'm rhoi i lawr;
Ond mi g'es nerth oddiwrth fy Nhad,
Ce's wel'd y wlad 'rwy'n byw,
Lle mae pob ymborth yn ddi-drai,
Fe'i molaf tra f'wyf byw.

Pob boreu a hwyr 'rwy'n plygu glin,
Gan ofyn yn ddiwad,
I Dduw i borthi'm teulu llon,
Er colli eu tyner dad;
Nid ofer yw i'm geisio hyn,
Mae'm breintiau yn parhau,
'Rwy'n cael o fara, d'wedaf hyn,
Fy ngwala yn ddidrai

Er cymmaint wawdir gan y byd,
Mae Duw o hyd o'm plaid;
Mae'n dad, yn frawd, yn gyfaill pur,
Mae'n gysur i'm wrth raid:
Pan byddwyf fi a'm teulu mân,
Yn seinio cân i'm Duw,
Cawn deimlo'i Ysbryd lawer tro,
Ac O, mor hyfryd yw!

MARY MEREDITH.

## LLYWODRAETH DIRIOGAETHOL I UTAH, NEU DESERET.

MAE yn dda genym i allu hysbysu ein darllenwyr fod y rhan hono o diriogaeth yr Unol Daleithiau a amgylchynir ar yr ochr orllewinol gan dalaeth California, yn ogleddol gan diriogaeth Oregon, ac yn ddwyreiniol a deheuol gan y cefn rhanol sydd yn gwahanu y dyfroedd a redant i'r Great Basin oddiwrth y rhai a redant i'r afon Colorado a chainc-for California, wedi cael ei gwneyd yn lywodraeth amserol, dan yr enw o diriogaeth Utah. Mae ysgrif i'r pwrpas hwnw wedi ei phasio yn Congress yr Unol Daleithiau ar y 7fed o Fedi diweddaf, yr hon a ellir weled yn rhifyn 20 o'r "Millennial Star." Bydd y gallu a'r awdurdod gweithredol dros y diriogaeth i fod mewn llywodraethwr ac ysgrifenydd, y rhai a apwyntir gan Congress, i fod mewn swydd bedair blynedd, ac i fyw yn y diriogaeth. Y llywodraethwr fydd penllywydd y milisia, ac arolygwr pob materion Indiaidd, ac efe fydd i gymmeradwyo pob cyfreithiau; caiff 2500 o ddolars yn flynyddol gan yr Unol Daleithiau am ei wasanaeth, a'r ysgrifenydd 1800 o ddolars. Gwaith yr ysgrifenydd fydd rhoddi hanes gweithrediadau y diriogaeth i'r Unol Daleithiau bob blwyddyn, ac i lywodraethu yn absennoldeb y llywodraethwr.

Bydd y gallu a'r awdurdod llywodraethol yn cael eu gosod yn y llywodraethwr a'r gynnulleidfa lywodraethol. Cynnwysa y gynnulleidfa gynghor a thŷ o gynnrychiolwyr. Bydd y cynghor i gynnwys tri-ar-ddeg o aelodau, i'w newid bob dwy flynedd; a'r tŷ o gynnrychiolwyr i gynnwys chwech ar hugain o aelodau, i'w newid bob blwyddyn. Bydd pob preswylydd gwyn rhydd gwrywaidd, dros 21 oed, â hawl i bleidleisio yn newisiad yr aelodau, ac hefyd i lanw unrhyw swydd yn y llywodraeth, os bydd yn ddeiliad o'r Unol Daleithiau.

Bydd gallu barnol y diriogaeth yn cael ei osod mewn uchel-lys, llysoedd dosparthiadol, prawf-lysoedd, ac mewn ustusiaid heddwch. Bydd yr uchel lys i gynnwys prif ustus a dau ustus cynnorthwyol, unrhyw ddau o'r cyfryw a ffurfiant gorwm, ac a gynnaliant derm yn flynyddol yn eisteddle y llywodraeth, a chânt oll barhau yn eu swyddi am bedair blynedd. Tâl y tri hyn fydd 1800 o ddolars bob un yn flynyddol. Bydd y diriogaeth i gael

ei rhanu yn dri dosparth, yn mhob un o ba rai y bydd un o'r ustusiaid yn byw ac yn cynnal llysoedd dosparthiadol.

Bydd cyfreithiwr yn cael ei apwyntio, yr hwn fydd i barhau mewn swydd bedair blynedd. Hefyd, bydd marshal yn cael ei apwyntio, yr hwn fydd i barhau mewn swydd bedair blynedd.

Gellir ethol cynnrychiolwr i Dy Cynnrychiolwyr yr Unol Daleithiau i wasanaethu yn ystod eisteddiad pob Congress, gan y pleidleiswyr a gymhwyswyd i ethol aelodau y gynnulleidfa lywodraethol.

Rhoddir symiau mawrion o arian i lywodraethwr y dalaeth tuag at adeiladu tai a phrynu llyfrgell, &c., at wasanaeth y llywodraeth; ac wedi i'r tir gael ei fesur dan gyfarwyddyd Llywodraeth yr Unol Daleithiau, yn flaenorol i'w ddwyn i'r farchnad, bydd y dosparthau 16 a 36 yn mhob tref yn y diriogaeth i gael eu defnyddio at godi ysgolion.

Dyna ydyw sylwedd yr hyn sydd yn yr ysgrif a basiwyd, ac y mae hyn yn gweini yr un dyben i'n darllenwyr yn gyffredin, â phe byddem yn cyfieithu y cwbl.

Mae tynghed ein brodyr yn y Dyffryn, mor bell â hyn, yn well na phe byddent wedi cael Talaeth; canys fel y mae yn bresennol, mae y llywodraeth a'r swyddogion i gael eu cynnal allan o drysorfa yr Unol Daleithiau, ac nid o logellau y Saint. A dymunwn hysbysu, wrth dewi, yr hyn a fydd yn lawenydd mawr i'n holl frodyr, sef i ni dderbyn llythyr yn hysbysu fod Brigham Young wedi ei ddewis yn Llywodraethwr ar y diriogaeth.

---

## AMDDIFFYNIAD.

MR. GOLYGYDD,—Dymunwn ar i'r ychydig linellau hyn gael ymddangos yn eich cyhoeddiad clodwiw, ynghylch y brawd JOHN GEORGE, o GAERDYF, ac yn ngwyneb y celwyddau ag sydd yn cael eu dweyd am dano, sef ei fod wedi ymadael â'i wraig a'i blant. Yr ydym ni yn tystio i'r gwrthwyneb, mai y wraig sydd wedi ymadael ag ef. Dywedodd maer Caerdyf fod y brawd uchod wedi gadael ei wraig a'i blant heb damaid o fara o fewn y muriau; dywedodd hyn yn neuadd tref Caerdyf, yn ngwydd cannoedd o ddynion, pan yr oedd Mrd. French a Williams yn areithio yn erbyn Mormoniaeth. Na, fe roddodd ef £2 10s. i'w

wraig dydd Gwener, a £3 nos Sul; a boreu dranoeth aeth ef tua Liverpool er cyfarfod â'r llong, i ymfudo gyda'r Saint. Ar y Sul canlynol, daeth ei wraig ar ei ol, er ei berswadio i ddychwelyd; ond yn lle hyny, yr oedd efe am iddi hi a'r plant ddyfod gydag ef. Cynnygiodd anfon am y plant oedd ar ol yn Nghaerdyf, os deuai hi. Yr oedd punt yr un wedi eu talu am danynt o flaendâl, a'r plant wedi eu dilladu gyferbyn â'r daith; ac yr oedd yntau yn begian arni i ddyfod, ond hi a ballodd yn deg. Yn awr, yr ydym ni yn dystion o hyn.

William Phillips, Merthyr,
Thomas Pugh, Aberdare,
Evan Williams, Abertawy,
James Ellis, Caerdyf,
Henry Evans, Merthyr.

*Caerdyf, Hyd.* 18, 1850.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR BENFRO.

Cynnaliwyd cymmanfa chwarterol sir Benfro, yn Hwlffordd, ar y 6fed o Hydref, pan y cynnrychiolwyd 17 o henuriaid, 11 o offeiriaid, 9 o athrawon, a 5 o ddiaconiaid; bedyddiwyd 11, derbyniwyd 3 trwy lythyron, trosglwyddwyd 6, a thorwyd tri allan; cyfanswm, 184. Yn ol penderfyniad y Brif-lywyddiaeth, cymmeradwywyd y brawd John Price i fod yn llywydd ar y gynnadledd, yn lle y brawd John Morris, yr hwn sydd wedi cael caniatâd i ymfudo. Cafwyd cyfarfodydd da, ac argoelion am lwyddiant.—John Morris, llywydd; Daniel Williams, ysgrifenydd.

### SIR GAERFYRDDIN.

Cymmanfa y gynnadledd hon a gynnaliwyd yn Nghaerfyrddin, ar y 6fed o Hydref, pryd y cynnrychiolwyd 16 o gangenau, yn cynnwys 80 o henuriaid, 25 o offeiriaid, 26 o athrawon, ac 20 o ddiaconiaid; 23 wedi eu bedyddio; torwyd allan, 7; wedi marw, 1; cyfanswm, 630. Penderfynwyd fod y brawd David John i fod yn llywydd ar y gynnadledd, yn lle Howell Williams, yn ol cynghor Prif lywyddiaeth Cymru, er i'r brawd Williams gael ymfudo. Penderfynwyd hefyd fod y brawd Benjamin Jones i fod yn gynghorydd blaenaf iddo. Cafwyd areithiau gwresog a

doeth trwy'r holl gymmanfa gan y brodyr H. Williams, David John, B. Jones, &c. Cafwyd cymmanfa hynod o dda, ac ystyried yr anfanteision.—David John, llywydd; I. Jones, ysgrifenydd.

SIR FYNWY.

Cynnaliwyd cymmanfa y gynnadledd hon, yn Neuadd y dref, Tredegar, ar y 13eg o Hydref, pan y cynnrychiolwyd 14 o gangenau, yn cynnwys 64 o henuriaid, 32 o offeiriaid, 33 o athrawon, a 21 o ddiaconiaid; 45 wedi eu bedyddio, 22 wedi eu tori allan, 5 wedi marw, 15 wedi ymfudo; cyfanswm, 629. Adroddodd y llywyddion sefyllfa eu cangenau, a deallwyd eu bod oll mewn undeb a chariad. Cafwyd llawer o addysgiadau buddiol gan y brawd Davis o Ferthyr, ynghylch y ffordd o gario gwaith Duw yn mlaen yn fwy cyflym, a dangosodd pawb eu hawydd i osod y cynllun mewn gweithrediad. Areithiodd y llywydd Giles ac henuriaid ereill, yn dra phwrpasol; a gellir dweyd fod yr holl Saint wedi derbyn bywyd adnewyddol.—Thomas Giles, llywydd; David Jones, ysgrifenydd.

CYNNADLEDD DDWYREINIOL MORGANWG.

Cymmanfa chwarterol y gynnadledd hon a gynnaliwyd yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr, ar yr 20fed o Hydref, pan y cynnrychiolwyd 24 o gangenau, yn cynnwys 2 archoffeiriad, 148 o henuriaid, 86 o offeiriaid, 200 o athrawon, a 58 o ddiaconiaid; bedyddiwyd, 148; torwyd allan, 64; ymfudodd, 47; bu farw, 5; cyfanswm, 2223. Anogwyd y Saint mewn modd effeithiol gan y Llywydd Phillips, ar y lles mawr a ddeilliai trwy wasgaru mwy o lyfrau yn mysg y byd. Dilynwyd ef gan y brawd Howells, yn Saesneg, ar yr un pwnc, ac hefyd gan y brawd Pugh. Wedi hyny penderfynwyd llawer o bethau, ac yn mhlith ereill fod y brawd Henry Evans i fod yn gynghorwr blaenaf y gynnadledd, yn lle David John, a bod Llyfr Mormon a'r Athrawiaeth a'r Cyfammodau i'w cyfieithu i'r Gymraeg, yn enw y Llywydd Brigham Young neu F. D. Richards. Am chwech, cymmerodd didoliad le, trwy fyned o'r Saeson i neuadd y Greyhound Inn, lle y bu y brodyr P. Seix, J. Davis, a W. Howells, yn addysgu y brodyr ynghylch eu gallu i wneuthur daioni. Yn y cyfamser yr oedd y brodyr Phillips, Pugh, Giles, ac E. Williams yn adeiladu y Cymry, lle y mwynhawyd pob peth yn gysurus, ond yn unig cwympiad esgynlawr y cantorion, yr hyn a achosodd fwy o ddych-

fyn nag o niwed. Cymmeradwywyd dal i fyny awdurdodau yr eglwys fel arferol, ac ymddangosai yr holl Saint yn awyddus i wneuthur ewyllys Duw. — W. Phillips, llywydd; H. Evans, ysgrifenydd.

SIR ABERTEIFI.

Cymmanfa chwarterol sir Aberteifi, a gynnaliwyd yn Penlannoeth, ar y 13eg o Hydref, pryd y cynnrychiolwyd 6 o gangenau, yn cynnwys 12 o henuriaid, 10 o offeiriaid, 3 o athrawon, a 4 o ddiaconiaid; 8 wedi eu bedyddio, 2 wedi eu tori allan, 1 wedi marw, a 10 wedi ymfudo; cyfanswm, 102. Cafwyd torfeydd lliosog, a gwrandawiad astud.—Alfred Clark, llywydd; James James, ysgrifenydd.

---

## AMRYWIAETHAU.

Hydref.—Yn ystod y mis hwn, cyfartaledd tymheredd pa un yw $49\frac{1}{4}$ o raddau, y mae arwyddion amlwg yn arfer bod o ddynesiad y gauaf; etto y mae tywydd y mis yn fynych o natur sefydlog a dymunol. Mae meusydd moelion y cynauaf, amryw o ba rai ydynt yn cael eu haredig at wenith gauaf, yn ffurfio gwedd neillduol ar natur allanol. Dail y coed a gyfnewidiant eu gwyrdd i amrywiol lywiau ereill, yr hyn a rydd i'r gelltydd edrychiad hardd, ac un a fawrygir yn gyffredinol, er y teimlir y cyfan fel yn arwyddo eu bod i golli yn fuan eu haddurniant haf. Mae yr adar ymfudol yn ymgynnull, ac yn dechreu eu hedfa flynyddol i hinsoddau nawseiddiach—y wennol i ororau Affrica, yr eos i'r Aifft Isaf, a'r puffin a rhai ereill naill ai i Affrica neu Spaen. Tua diwedd y mis, os bydd gwyntoedd uchel, mae y coedydd yn myned yn lled foel. Yn y gerddi nid oes cymmaint o ddarfodedigaeth i'w ganfod. Mae y gwelyau blodau o hyd yn para i edrych yn hardd, gan fod yr hollyhock, dahlia, a rhai blodau ereill, etto mewn cyflwr da. Dyma yr amser i gladdu cloron. Yn y mis hwn y mae gwawn y gwe cor yn nofiaw fel gorchudd awyrol dros y meusydd, ac megys yn ymgynnyg i rwydo y trafaelwr ar ei daith.

Deseret News.—Mae newyddiadur o'r enw hwn yn cael ei gyhoeddi gan y Saint yn Ninas y Llyn Halen.

DIAREBION CYMREIG.—A wreiddio mewn drygioni, anhawdd fydd ei gynghori. Ar ni phortho ei gath, porthed ei lygod. Cas yw'r gwirionedd yn lle ni charer. Chwerthin wna ynfyd yn boddi. Dau bryd newynog a wna'r trydydd yn lwth. Er heddwch nac er rhyfel, gwenynen farw ni chasgl fêl. Ffol pob tlawd. Gwae a gaffo ddrygair yn ieuanc. Hen bechod a wna cywilydd newydd.

GLYTHINEB.—Mae glythineb yn dyfetha mwy nâ'r cleddyf, canys oddiyma y deillia diogi, anlladrwydd, trymder meddwl, a dadgyssylltiad yr holl rinweddau, ynghyd ac afradlondeb, a rhes aneirif o glefydau, hyd y nod angeu ei hun.

RHAGRITHIWR.—Mae y rhagrithiwr mewn caethiwed parhaus; ac, O, gymmaint o boen i ddyn yw ymddangos yn wahanol yn wastadol i'r hyn yw mewn gwirionedd!

BEILCHION.—Nid yw beilchion byth yn meddu cyfeillion, pan mewn llwyddiant, oblegid nad ydynt yn adwaen neb, nac mewn aflwyddiant, oblegid nid oes neb bryd hyny yn eu hadwaen hwy.

SEGURDOD.—Segurdod heb ddysgeidiaeth sydd yn angeu, a diogi yw beddrod y dyn byw. Trueni fod dynion yn treulio eu hunain, ac yn camdreulio eu hamser i wneuthur dim, neu waeth nâ dim, y rhai ydynt bob amser yn segur neu wrth ryw waith drwg.

NA cheisiwch wneyd cyfeillion trwy gyfranu rhoddion; canys os bydd i chwi beidio rhoddi, hwy a beidiant garu.

CYNGHOR.—Gyda thri bath o ddynion na wnewch gyfeillgarwch difrifol,—sef, y dyn anniolchgar, y dyn gwag-siaradus, a'r dyn llwfr; y blaenaf, nis dichon werthfawrogi eich ffafrau,—yr ail, nis dichon gadw eich ffafrau,—a'r trydydd, nis dichon amddiffyn eich anrhydedd a'ch cymmeriadd a.

CYFAILL.—Dichon dyn gael mil o gydnabyddion, heb un cyfaill yn eu mysg oll. Os bydd genyt un cyfaill cywir, cyfrifa dy hun yn ddedwydd.

### CAMSYNIED.

Camsynied mawr a wnaeth un dyn—<br>
Rho'dd ful mewn cert yn lle ei hun;<br>
A'i hunan yn y *shaft* a ro'dd,<br>
Gan yru felly wrth ei fodd.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 23.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. II.] TACHWEDD, 1850. [PRIS 2½g.

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;
AR WERTH HEFYD
Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr,
trwy y Deau a'r Gogledd.

1850.

**YR UDGORN.**—Bwriadwn gyhoeddi yr UDGORN, y flwyddyn nesaf, bob yn ail ddydd Sadwrn, yn 16 tud., o'r plyg presennol, am UN GEINIOG, gan hyderu y dosperthir llawer iawn yn ychwaneg. Bydd yr un faint â "Phrophwyd y Jubili," ond am hanner ei bris! Danfoner gwybod pa faint a ellir dderbyn yn mhob man, erbyn y 25ain o Ragfyr, o bellaf. Dysgwylir y gwna pawb eu rhan, fel y swnio ein HUDGORN yn effeithiol yn mhob cwr o'r wlad. Gan y bydd ei bris mor isel, ni ddysgwylia y Dosparthwyr lawer o elw; ond fe ymddibyna hyny lawer ar y nifer a gymmerir.—D.S. Bydd yn ofynol i bob Cangen a Chynnadledd i beidio LLEIHAU y rhif a gymmerant ar ddechreu y flwyddyn, fel y gwnaeth rhai eleni er colled mawr i'r Eglwys, ond gallant gael ychwaneg trwy roddi wythnos o rybydd.

☞ Gwnaed yr Ymfudwyr frys i ddanfon eu rhagdaloedd i mewn, os ydynt am fyned yn Ionawr. Gwell i deuluoedd baentio enwau y gwragedd a'r plant ar rai o'r blychau, yn lle bod y cyfan ar enw un, fel y gallo pob un hawlio ei gan pwys yn rhydd ar yr afonydd. Blychau bychain yw y goreu; gwell yw dyfnder a lled mawr na hyd mawr.

☞ Anfoner pob llythyron perthynol i Brif Lywyddiaeth Cymru, at "Mr. William Phillips, 14, Castle-street, Glebeland, Merthyr-Tydfil."

**Y CYNNRYCHIOLIAD.**—Gofaled Llywyddion y Cynnadleddau a'r Cangenau i ddanfon eu Cynnrychioliad i mewn yma, yn DDIFFAEL, erbyn yr 8fed o Ragfyr nesaf, sef rhif y cangenau, archoffeiriaid, henuriaid, offeiriaid, athrawon, a diaconiaid; y rhai a esgymunwyd, a fu farw, a ymfudodd, a fedyddiwyd, ynghyd a'r cyfanswm, ac enwau y llywyddion a'r ysgrifenwyr. Gwnaer y cyfrif hyd y cyntaf o Ragfyr.

**AT Y DOSPARTHWYR.**—Erfynir y bydd y Dosparthwyr yn mhob man, yn allnog i settlo â ni yn llwyr, ar ddiwedd y flwyddyn, fel y galluoger ni i gyflawni ein hamcanion. Os bydd llyfrau ar law, tyner y rhai hyny allan o'r ddyled, fel y byddo pob peth yn glir. Bydd raid i ni alw y sawl a esgeuluso hyn i gyfrif, gan fod yr hyn a ofynwn o bwys.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 23.] TACHWEDD, 1850. [CYF. II.

### CYMMANFA GYFFREDINOL

EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, YN MHRYDAIN FAWR A GWLEDYDD CYFAGOS,

*A gynnaliwyd yn y Carpenters' Hall, Manchester, ar ddydd Sadwrn a dydd Sul, y 5med a'r 6fed o Hydref, 1850.*

BOREU DYDD SADWRN.

YN bresennol o'r Deuddeg Apostol—Orson Pratt, John Taylor, ac F. D. Richards. O'r Degau a Thrugain—Eli B. Kelsey, Jas. W. Cummings, Joseph W. Clements, Cyrus H. Wheelock, Lewis Robbins, J. H. Flanigan, Jacob Gates, Isaac C. Haight, Robert Campbell, Wm. Burton, &c. O'r Archoffeiriaid—Levi Richards, Geo. B. Wallace, Wm. Moss, John S. Higbee, Wm. Phillips, Wm. Gibson, Crandell Dunn, John Davis, George D. Watt, &c. Hefyd, Llywyddion y cynnadleddau yn gyffredinol, a thyrfa fawr o henuriaid a swyddogion ereill, ac aelodau yr Eglwys.

Am hanner awr wedi deg, agorwyd y cyfarfod trwy ganu "The Spirit of God like a fire is burning," &c. Gweddiwyd gan y Llywydd Orson Pratt, ac ar ol hyny gwnaeth y sylwadau canlynol:—

Anwyl Frodyr a Chwiorydd,—Yr ydym wedi ymgynnull y boreu hwn mewn cymmanfa gyffredinol. Mae yn awr dros ddwy flynedd er pan gynnaliwyd cymmanfa o'r fath yn y wlad hon. Gan fod materion pwysig i'w trafod, gobeithiwn y bydd pawb sydd yn bresennol, ag y perthyn iddynt, yn ceisio cynnorthwy yr Ysbryd

i'w helpu. Gall y rhan fwyaf o'n busnes gael ei wneuthur heddyw. Pe na byddai genym faterion pwysig i'w trafod, y mae yn dda i ni ymgynnull ynghyd, a rhoddi y cyfryw gynghorion ag a fyddai yn angenrheidiol er cryfhau undeb y Saint. Mae hyn yn angenrheidiol mewn eglwys fel hon. Mae eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf yn yr Ynysoedd Prydeinig, wedi dod yn bobl lliosog, ac yn wasgaredig o pen i'r tir i'r llall; ac os na fydd cyd-ymdrechiad yn swyddogion yr eglwys, ni ellir cadw yr undeb angenrheidiol er mwynhau bendithion teyrnas Dduw, a chynnyddiad pellach y gwaith yn y wlad hon. Mae nerth mewn undeb, a mwy o nerth nag y mae llawer o fobl yn dybied. Pan fyddo y Saint yn un, gallant lwyddo gyda'r Nefoedd, a thynu bendithion i waered ar eu hymdrechiadau, ac ni ddichon neb rwystro; pa faint y mae undeb tair neu bedair mil o'r henuriaid wedi wneuthur eisoes! Mae yn angenrheidiol i bawb feddu golygiadau cywir mewn perthynas i deyrnas Dduw a'r gwaith a ymddiriedwyd i'w gofal; i'r dyben hyn, fel y byddo undeb mewn gweithred a theimlad, y darfu i ni ymgynnull ynghyd y dydd hwn. Y fusnes gyntaf a driniwn a fydd yn perthyn i swyddogion yr eglwys, ac ar ol hyny bydd addysgiadau cyffredinol yn cael eu rhoddi. Bydd y llywyddion hefyd yn cael eu hapwyntio i'w cynnadleddau neillduol, fel y gallo y rhai sydd yn bwriadu ymfudo wneyd hyny, trwy gydsyniad y gymmanfa; dyna y drefn a ordeiniwyd gan yr eglwys, ac a orchymynwyd gan ein prophwyd a'n gweledydd: yn y dadguddiadau a roddwyd iddo ef, dysgir ni i wneyd pob peth trwy gydsyniad cyffredin. Yn awr, yr ydym am i bawb bleidleisio ar y pynciau a ddygir o'u blaen, un ffordd neu'r llall, dros neu yn erbyn. Nid ydych yn rhwym o bleidleisio yn gadarnhaol nac yn nacäol, eithr yn ol eich barn eich hunain; ac os bydd genych ysbryd yr Arglwydd, dysga chwi i bleidleisio yn unfrydol, yn ol y gwirionedd. Dyma drefn y nefoedd; pe byddem ni yn adnabyddus o'r corwmau fry, caem allan fod teimlad unfrydol yno ar bob pwnc perthynol i faterion y byd nefol. Fel hyn y bydd yn y diwedd ar y ddaear; ond yn ein sefyllfa anmherffaith bresennol, rhaid i bob dyn weithredu yn ol y doethineb goreu a allo gael. Ni ellir condemnio neb am bleidleisio yn nacaol. Pan y gofynir llais yr eglwys ynghylch cynnal rhyw rai o'i swyddogion, os dewisant hwy bleidleisio yn nacaol mewn achosion felly, ni fydd i ni eu galw i gyfrif. Yr wyf yn gwneyd

y sylwad hwn, o herwydd fod yr aelodau, mewn rhai cynnadleddau, wedi eu gorfodi i bleidleisio mewn rhyw un ffordd neillduol; ac os pleidleisient yn wrthwynebol, gelwid hwy i gyfrif: yn awr, hyn yw cymmeryd ymaith eu rhyddid. Mae yn wir fod pynciau ar ba rai y gofynir i bawb bleideisio mewn un ffordd, mewn egwyddorion o athrawiaeth, neu mewn materion perthynol i'n dyledswydd, pan y gellir galw y rhai a bleidleisiant yn nacaol i gyfrif Rhoddaf le yn awr i'r brodyr ddwyn yn mlaen wahanol gorwmau yr eglwys.

Sylwodd yr Henuriad John Taylor: Mewn perthynas i'r pethau hyn a lefarodd y brawd Pratt, y maent yn gwbl gywir; undeb yw y prif beth sydd yn cylymu a rhwymo dynion ynghyd. Lle y byddo undeb y mae yno allu; hyn ydyw gallu Duw, a bydd i ysbryd a gwirioneddau Duw gael eu tywallt ar led trwyddo. Mae undeb yn sylfaenedig ar gyfraith a gwybodaeth. Pa fodd bynag, ni wnaf ymhelaethu ar y mater yna, ond cyffyrddaf yn fyr â'r pwnc a enwyd gan yr Henuriad Pratt, sef y dull o alw drosodd gynghorau yr eglwys. Mae yn anghenrheidiol nid yn unig i fod dynion wedi eu galw gan Dduw, ond eu bod, fel y sylwodd y brawd Pratt, yn cael eu cydnabod gan y bobl. Nid dyma fel y mae yn y byd politicaidd; dywedant hwy weithiau mai llais y bobl ydyw llais Duw. Nid yw hyn felly bob amser; oblegid os derbynia dyn swydd gan yr Arglwydd, y mae efe yn cael ei neillduo gan yr Arglwydd i gyflawni dyledswyddau y swydd hono, er mynegi ei ewyllys i blant dynion. Yn awr, pa un a dderbynia y dynion hyn y genadwri ai peidio, mae efe yn rhwym i fynegi y peth hwnw i'r bobl, er iddynt ei alw yn dwyllwr; yna y mae efe wedi gwneyd ei ddyledswydd, ac wedi ei ryddhau gerbron yr Arglwydd. Llais y bobl yw llais Duw, os llywodraethir gan egwyddorion addas. Mae y gorchymyn yn dyfod oddiwrth Dduw, ac nid oddiwrth y bobl; mae efe yn eu galw, yn eu hordeinio, ac yn eu danfon i wneuthur rhyw bethau neillduol, a'u mynegiad hwy o honynt yw llais Duw; y mae yn dyfod yn llais Duw, o herwydd fod y dynion hyn dan ddylanwad ysbryd Duw. Mae henuriaid yr eglwys hon, os ydynt yn ddynion Duw, wedi eu gosod mewn meddiant o ddawn yr Ysbryd Glân, ac yn alluog i wahaniaethu goleuni a thywyllwch, os ydynt yn gwneyd eu dyledswydd gerbron yr Arglwydd, oblegid "mae fy nefaid yn clywed fy llais, ac yn fy nilyn, ond estron

ni chanlynant." Yna, y mae yn angenrheidiol pan fyddo Duw yn danfon allan ei weision, ei fod yn eu hordeinio i swyddi, y rhai a ddylid gydnabod gan y bobl dan eu llywyddiaeth; ac y mae y swyddogion, yn ol eu hamrywiol raddau, tra yn mynegi gair Duw, pan fyddo hyny wedi ei wneyd, yn gyfrifol am eu gweithredoedd eu hunain. Gwelodd plant Israel yn dda i ddewis brenin; ac meddai yr Arglwydd, Gellwch gael un os oes arnoch ei eisieu, ond ni fydd yn dda i chwi: fe wna fel a'r fel i chwi, eithr fe gewch frenin os mynwch, a bydd y canlyniadau fel a'r fel. Rhoddwch i ni frenin; cymmerwch ef, a gwnewch fel ag y meddylioch oreu; mae genych lais yn y peth. Mae Duw, yn y dyddiau diweddaf hyn, wedi rheoleiddio ei deyrnas. Pan oedd Joseph Smith yn fyw, efe oedd eneiniog yr Arglwydd, a derbyniodd ddadguddiadau oddiwrtho er arwain yr holl eglwys. A oedd y bobl yn rhwym i dderbyn y dadguddiadau hyn? Mewn rhyw ystyr buasent yn euog pe na wnelsent, ond daethant yn rhwym pan ddarfu iddynt gydnabod y geiriau hyny. Er enghraifft, Dyma Joseph Smith, y prophwyd, a wnewch chwi ei dderbyn? pob un a wnelo, cyfoded ei law ddeheu; daeth hyn yn weithred a dyledswydd y bobl, ac yna daethant hwy yn rhwym i gadw pob peth a lefarai efe. Pa beth wed'yn? wel, mae y deuddeg, &c., wedi eu gosod yn gymhwys yn yr un sefyllfa. Mae genym ddyn wedi ei apwyntio gan yr Arglwydd yn y lle cyntaf, ac yna gan y gwahanol gynghorau llywodraethol yn Seion, cynghorau y deuddeg, yr archoffeiriaid, y deg-a-thrugain, yr henuriaid, yr offeiriaid, yr athrawon, a'r diaconiaid, a chan y gwahanol ganghenau yn mhlith holl genedloedd y ddaear, lle bynag y mae'r efengyl hon wedi myned. Dyma hysbysiad, dadguddiad, neu orchymyn, yn dyfod trwyddo, am i'r henuriaid wneuthur fel a'r fel,—pa fodd y maent yn teimlo? wel, meddant, mae y dyn hwn wedi ei neillduo, ac y mae wedi ein neillduo ninnau i ddwyn y cyfryw a'r cyfryw fesurau i weithrediad. Awn yn union at ein gwaith: nid yw yn gwestiwn gyda ni, pa un a wnawn y peth ai peidio: yr ydym wedi pleidleisio drosto, ac yr ydym yn foddlawn oll i'w gydnabod yn was i Dduw. Yna daw y deuddeg yn mlaen ar yr un egwyddor, ac henuriaid cynnadleddau a changenau, ac yn ol y sefyllfaoedd neillduol ag y maent ynddynt, rhaid iddynt gael eu cydnabod yn eu lle eu hunain; rhaid i'r eglwys gymmeryd eu harwain gan eu cyfar-

wyddiadau. Ond os bydd henuriad ddim yn gwneuthur yn iawn, a ydym i bleidleisio drosto? na, codwch eich dwylaw i'w dori allant os na edifarha. Dyma'r ffordd wyf am i chwi wneuthur â mi, ynghyd â'r brodyr Pratt a Richards, a phawb o honom; nid ydym am i chwi gynnal i fyny ddrygioni dan fantell rhywbeth arall: pan fyddo dynion yn gwneuthur yn iawn, yna mae dyled arnom i'w cynnal i fyny. Pa mor hir? wel, yr holl amser, hyd nes y byddont yn cael eu profi yn euog o ryw beth cyfeiliornus; na adewch i ddyn gwympo, o herwydd fod rhywun wedi sibrwd fel a'r fel; mynwch brawf, ac yna ymddyger tuag ato yn ol y rheolau; nid oes achos i mi eu hysbysu. Mae hyn yn ffurfio rhwymyn undeb. Mae yr Arglwydd yn dweyd wrth ei was, y prophwyd, Yr wyf eisieu cael y peth a'r peth wedi ei gyflawni; dos, ac hysbysa ef i henuriaid fy eglwys. Chwi ddeuddeg, dywedwch wrth rywrai ereill, gwnewch fel a'r fel, er lles ac iachawdwriaeth dyn; ac y mae llywyddion y cynnadleddau, &c., yn myned yn union at eu gwaith, ac yn dywedyd wrth ereill, gwnewch fel a'r fel: felly y ffurfir cadwyn berffaith-gyfan o undeb, gwybodaeth a gallu, ac y mae ysbryd yr Arglwydd yn trigo yn eu plith, ac y mae bendithion Duw yn dilyn y bobl hyny; a dyna paham yr ydym yn cael ein cyflwyno o'ch blaen o bryd i bryd. Mae y natur ddynol yn wan—y mae gweision Duw yn agored i gyfeilioni; a phan y byddont yn ymgynnull o flaen y miloedd o'i bobl Ef, beth wed'yn? Os byddant wedi gwneuthur rhywbeth ar gam, bydd i ysbryd Duw yn ei bobl ei nodi, fel y byddo yr eglwys yn cael ei chadw yn bur; pleidleiswch dros y da a'r gwirioneddol; a'r rhai a fyddoch yn pleidleisio drostynt, cynnaliwch i fyny â'ch gweddiau a'ch dylanwad, a pheidiwch dweyd, y mae rhyw beth da yn perthyn i hwn a hwn, ond ni ddywedwn ddim am ei ddrygioni; nid ydym yn ymofyn dim o'r fath hyn, os oes rhyw ddrygioni, dyger ef allan. Yr wyf yn gwneuthur y sylwadau hyn, fel pan fyddoch yn rhoi eich llais i gynnal rhyw berson, y byddwch yn gwneuthur hyny â'ch holl galon; ac yr wyf fi yn cynnyg fod y gymmanfa hon yn derbyn ac yn cynnal y Llywydd Brigham Young fel prif Lywydd eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn yr holl fyd. Eiliwyd y cynnyg, a chariwyd ef yn unfrydol.

Cynnygiodd yr Henuriad F. D. Richards fod y Llywyddion Heber C. Kimball a Willard Richards yn cael eu derbyn a'u

cynnal gan y gymmanfa fel ei gynghorwyr, yr hyn hefyd a eiliwyd ac a basiwyd yn unfrydol.

Y cynnygiadau canlynol a wnaed, a eiliwyd, ac a basiwyd yn unfrydol ar benau eu hunain.

Fod Orson Hyde i'w gynnal fel Llywydd ar y Deuddeg Apostol.

Fod Parley P. Pratt, Orson Pratt, Wilford Woodruff, John Taylor, George A. Smith, Amasa Lyman, Ezra T. Benson, Charles C. Rich, Lorenzo Snow, Erastus Snow, a F. D. Richards, i'w cynnal fel aelodau o Uchel Gynghor teithiol y Deuddeg Apostol.

Cynnygiodd F. D. Richards, Fod y gymmanfa nid yn unig yn ymdeimlo i gynnal yr Henuriad Orson Pratt fel Llywydd yr eglwys yn yr Ynysoedd Prydeinig, ond ein bod i gyflwyno iddo ein diolchgarwch mwyaf diffuant am y dull medrus ac effeithiol y dygodd yn mlaen achosion yr eglwys yn yr ynysoedd hyn. Nid yw ei lafur a'i wasanaeth wedi bod o'r radd gyffredin. Mae y cyfarwyddiadau sydd wedi deillio trwy ei wefusau, a thrwy ei bin ysgrifenu, wedi bod o'r fath gymmeriad ag i ddysgu athrawon, ac addasu henuriaid llywyddol i borthi eu praidd ac adeiladu eglwys Crist. Mae tymmor ei lywyddiaeth wedi bod yn wawr o gyfnod newydd ar y Saint yn Ewrop. Yn ystod ei weinidogaeth, y mae cylchrediad y *Millennial Star* wedi cynnyddu o ddeunaw cant ar hugain i dair mil ar hugain, yn bythefnosol. Ni fydd llai na thair mil o Saint wedi ymfudo o'r gororau hyn i'r wlad a apwyntiwyd gan Dduw er sefydlu Seion, trwy ei offeryngarwch, a dim llai nag un fil ar bymtheg fydd wedi cael eu bedyddio i'r eglwys yn y wlad hon. Y fath argoelion llwyddiannus sydd yn awr o flaen yr henuriaid a'r Saint yn y wlad yma. Y fath lawenydd a leinw fynwes yr Henuriad Pratt wrth ymadael â'r wlad hon, pan yr ystyrio y fath lwyddiant mawr sydd wedi coroni ei lafur. Cytuna pawb sydd yn gwerthfawrogi ei lafur i ddymuno i fendithion penaf yr Hollalluog Dduw ddisgyn ar ei ben ef, ei deulu anwyl, a phawb sydd yn berthynol iddo—fel y byddo ei enaid yn cael ei ddiwallu o ddaioni Duw tuag ato. Yr wyf yn cynnyg dangosiad o ddiolchgarwch i Dduw, ac hefyd i'r Henuriad Pratt am ei lafur cariadlawn i bobl yr ynysoedd hyn.

Eiliwyd y cynnyg gan yr Henuriad John Taylor, yr hwn a'i gosododd i bleidlais, ac a gariwyd yn unfrydol.

Yna dywedodd yr Henuriad Pratt, Nis gallaf lai na theimlo

yn ddiolchgar i chwi, ac i'r Duw Mawr am y mynegiad hwn o anwyldeb a chariad tuag ataf. Pan y daethum i'r wlad hon, daethum fel y dywedodd Paul wrth eglwys Corinth, trwy lawer o ofn a dychryn; teimlais y cyfrifoldeb ag oedd ynghylch cael ei osod arnaf—cyfrifoldeb nid fel eiddo llywodraethau gwladol, ond un anfeidrol fwy, i edrych ar ol eglwys Dduw, i edrych ar ol llwyddiant a chysur y Saint, i edrych ar ol lledaeniad gwaith Duw yn y wlad hon; teimlais fy ngwendid fy hun, a cheisiais lawer gan Dduw mewn gweddi daer am roddi i mi ddoethineb ei Ysbryd Glân; i roddi grâs i mi er fy nghynnorthwyo yn fy ngweinyddiadau, ac yn holl ddyledswyddau fy Llywyddiaeth yn y wlad hon; fel y gallwn roddi siampl dda o flaen y bobl, ar yr hon y gallwn edrych yn ol mewn blynyddau dyfodol gyda boddlonrwydd. Deallais nad oedd yn bosibl i mi trwy fy neall fy hun, neu trwy ddoethineb ddynol, i sefyll yn y swydd gyfrifol ag y gosodwyd fi ynddi, a gwneuthur cyfiawnder â gwaith y weinidogaeth. Ni theimlais duedd i ymddiried yn fy noethineb fy hun, ac ni wnaethum oddiar hyny hyd yn awr; oblegid nid oes doethineb y gall dyn ei chael yn naturiol ag a'i haddasa ddim hyd y nod i lanw swydd diacon yr eglwys; ac os na all dyn trwy ei ddoethineb naturiol ei hun lanw swydd diacon, pa fodd y gall efe lanw swydd uwch, heb ysbryd yr Arglwydd? Mae y teimladau hyn wedi bod yn fy meddiant mewn amseroedd sydd wedi myned heibio, ac y maent genyf hyd heddyw. Ac yr wyf yn teimlo yn ddiolchgar i Dduw, os wyf fi wedi bod yn offeryn yn ei law i lesâu y bobl yma, mai trwy ysbryd yr Arglwydd y cyflawnais hyny, ac nid o honof fy hun. Nid oeddwn wedi arfer ysgrifenu llawer yn flaenorol i'r amser y dechreuais fy llafur golygyddol yn y wlad hon; o ganlyniad, trwy ei fod yn rywbeth newydd i mi, teimlais fy anallu fy hun, a meddyliais os na roddai Duw gynnorthwy i mi, y buasai yn anmhosibl i mi ysgrifenu fel ag i lesâu y bobl. Yr wyf yn ddiolchgar i Dduw am ei ysbryd, ac yn gweddio y bydd iddo aros gyda mi, tra y byddwyf yn eich plith, fel y byddwyf yn alluog i ddangos esiampl i'r bobl ag a fydd yn gymmeradwy yn ngolwg Duw, ac yna ddychwelyd yn ol at fy mrodyr yn nhir Seion, gyda chydwybod ddirwystr, a mwynhau cymmeradwyaeth y Saint yma, a'r rhai hyny yn America. Dywedaf y waith hon ychydig eiriau ynghylch rhai o'r goruchwylion a ymddiriedwyd i'm gofal yn

y wlad hon; ni chaf, efallai, well cyfleusdra tra y byddwyf yn eich plith o osod pob peth o flaen y Saint, nag yn y Gymmanfa Gyffredinol hon. Dymunaf osod o'ch blaen chwi beth o'r fusness a ymdrechais gyflawni yn ol fy ngallu. Apwyntiwyd fi gan y Brif Lywyddiaeth yn Seion i gymmeryd gofal o'r eglwys, y gwaith o argraffu, ac ymfudiad y Saint; y rhai hyn oedd y tri gorchwyl neillduol a roddwyd i mi. Mor bell ag y mae'r gwaith o argraffu wedi myned, ymdrechais gadw golwg fanwl ar bob ysgrif a ddanfonwyd i'w chyhoeddi yn y *Star*, fel y byddai ein cyhoeddiad yn ddrych cywir o athrawiaeth iachus a gwybodaeth gyffredinol. Tra yr oeddwn i yn absennol o'r wlad hon ar ymweliad yn Council Bluffs, yr oedd y *Star* yn cael ei dwyn yn mlaen mewn modd galluog gan yr Henuriad Kelsey; ac y mae yr holl ddarnau a ollyngodd efe i mewn wedi derbyn fy nghymmeradwyaeth. Yr wyf wedi ymdrechu gwylio dros bob dernyn a ddanfonwyd i'r *Star*; dyna oedd y cyfarwyddyd a roddwyd i mi gan y Brif Lywyddiaeth. Mae y *Star* yn wrthddrych i'r holl fyd, ac i genedlaethau dyfodol i edrych arni; ac o ganlyniad, dylai fod yn ystorfa gwirionedd. Nid wyf yn gwybod i mi gyhoeddi dim ond ag sydd yn gwbl gywir; ond peth dynol yw cyfeiliorni! os wyf, o ganlyniad, wedi cyhoeddi cyfeiliornad, nid yw wedi bod yn fwriadol, eithr yn gyfeiliornad mewn barn; nid wyf fi yn gwybod, pa fodd bynag, fy mod wedi cyhoeddi dim ond sydd yn iawn, ond os gall rhyw frawd nodi allan rywbeth cyfeiliornus, ymdrechaf ei ddiwygio mewn cyhoeddiadau dyfodol. Yr wyf wedi cyhoeddi llawer o bamphletau yn y wlad hon, ac wedi eu gwerthu wrth y cyfanwerth, yr hyn oedd tua cheiniog yr un; mae hyny lawer yn rhatach na llawer o gyhoeddiadau ereill o'r un faintioli a chynnwysiad. Bydd gan y llyfrau, *Stars*, &c., ddylanwad mawr lle bynag yr el nt; ac yr ydym yn gobeithio y bydd y galwad am y *Star* yn y wlad hon yn mwyhau yn fawr, ac y bydd cannoedd o filoedd yn cael eu cylchdaenu gan y llywyddiaeth ddyfodol, o herwydd yn y ffordd hon y gellir cyhoeddi yn effeithiol air Duw trwy yr holl wlad. Gyda'r sylwadau hyn yr wyf yn diweddu fy nodiadau.

Cynnygiodd yr Henuriad J. Taylor fod y gymmanfa hon i gynnal yr Henuriad F. D. Richards, fel dilynydd i'r Lywydd Orson Pratt, yn Llywyddiaeth yr eglwys yn yr Ynysoedd Pryd-

einig; hefyd George B. Wallace a Levi Richards fel ei gynghorwyr. Eiliwyd, a chariwyd yn unfrydol.

Gwnaed dangosiad o goffâd anwylaidd ar ran ein brodyr sydd yn llafurio yn Ffrainc, Italy, Denmark, Iwerddon, a phob gwlad arall lle pregethir yr efengyl, gyda dymuniad taer-erfyngar am eu llwyddiant i ennill eneidiau i Grist.

[Yr oeddem yn bwriadu cyflwyno yr Henuriaid Phillips, Davis, a Pugh, llywyddiaeth yr un gynnadledd ar ddeg Gymreig, o flaen y Gymmanfa Gyffredinol, am ei phleidlais o ymddiried, ond y mae yn ddrwg genym i ddweyd i hyny gael ei anghofio: hysbyswn hwynt o'n hymddiried a'n brawdgarwch anwahanadwy tuag atynt yn ngweinidogaeth y cymmod, a chredwn fod yr holl ffyddloniaid yn eu caru felly mor bell ag y maent yn adnabyddus. —Gol. y Star.]

*Penderfynwyd*,—Fod y llywyddion cynnadleddol a ganlyn, a'r Henuriaid teithiol, yn cael eu rhyddhau oddiwrth eu llafur, ac yn cael caniatâd i ymfudo gyda'u teuluoedd i America; a dymunir ar y cynnadleddau ag y darfu iddynt hwy lywyddu a llafurio mor alluog ynddynt, i gynnorthwyo y dynion da hyn i ymgasglu i fynwes yr eglwys, yr hyn ni fyddai ond tâl gyfiawn am eu dysgeidiaeth werthfawr a'u llafur diwyd yn eu plith:— William Gibson, llywydd cynnadledd Manchester; Thomas Margetts, etto Llundain; Crandell Dunn, etto Edinburgh; James D. Ross, etto Staffordshire; James W. Cummings, etto Sheffield; George D. Watt, etto Preston; William Booth, etto Cheltenham; William Moss, etto Clitheroe; William Henshaw, henuriad teithiol yn sir Henffordd; Thomas Smith, etto yn Bedfordshire.

(*I'w barhau.*)

---

## PRIODAS.

[Allan o'r "Athrawiaeth a'r Cyfammodau."]

Yn unol ag arferiad pob cenedl wareiddiedig, rheoleiddir priodas gan gyfreithiau a seremoniau; o ganlyniad, credwn ni y dylai pob priodas yn eglwys Crist o Saint y Dyddiau Diweddaf, gael ei gweinyddu mewn cyfarfod cyhoeddus, neu wledd, wedi ei pharotoi i'r perwyl; ac y dylai y gweinyddiad gael ei gyflawni gan archoffeiriad llywyddol, archoffeiriad, esgob, henuriad, neu offeir-

iad, heb hyd y nod wahardd y personau a ddymunant ymbriodi, rhag ymbriodi trwy awdurdod arall. Ni chredwn fod yn iawn gwahardd aelodau o'r eglwys hon rhag priodi allan o'r eglwys, os mai eu penderfyniad yw gwneyd felly, eithr ystyrir personau o'r fath yn weiniaid yn ffydd ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist.

Dylai priodas gael ei gweinyddu gyda gweddi a diolchgarwch; ac yn y gweinyddiad, y personau sydd i gael eu priodi a safant yn ochrau eu gilydd, y dyn ar y llaw ddeheu, a'r fenyw ar yr aswy, ac a anerchir gan y gweinyddwr, megys ag y cyfarwyddir ef gan yr Ysbryd Santaidd; ac os na fydd gwrthwynebiadau cyfreithlawn, caiff ddweyd, gan alw pob un wrth ei enw, "Yr ydych chwi eich dau yn cytuno i fod yn gyfeillion i'ch gilydd, yn wr a gwraig, gan barchu iawnderau cyfreithlawn y cyflwr hwn; hyny yw, cadw eich hunain yn gwbl i'ch gilydd, ac oddiwrth bawb ereill, drwy eich bywyd." Ac ar ol iddynt hwy ateb, "Ydym," caiff eu cyhoeddi yn "wr a gwraig," yn enw yr Arglwydd Iesu Grist, a thrwy bwer cyfreithiau y wlad a'r awdurdod a fydd yn ei feddiant: "Bydded i Dduw ychwanegu ei fendithion a'ch cadw chwi i gyflawni eich cyfammodau o hyn allan a thros byth. Amen."

Dylai ysgrifenydd pob eglwys gadw coffadwriaeth o bob priodas a weinyddir yn ei gangen.

Dylai pob cytundeb cyfreithlawn priodas a wnaed cyn i berson gael ei fedyddio i'r eglwys hon, gael ei ystyried yn gyssegredig a'i gyflawni. Yn gymmaint â bod eglwys Crist wedi ei gwarthruddo fel o fod yn euog o'r trosedd o odineb ac aml-wreigiaeth, cyhoeddwn ein bod yn credu y dylai un dyn gael un wraig, ac un fenyw ond un gwr, oddieithr mewn achos o farwolaeth, pan y mae y naill a'r llall at eu rhyddid i briodi eilwaith. Nid yw yn iawn i berswadio gwraig i gymmeryd ei bedyddio yn groes i ewyllys ei gwr; ac nid yw yn gyfreithlawn i ddylanwadu arni i adael ei gwr. Mae pob plant yn rhwym wrth gyfraith i ufyddhau eu rhieni; ac y mae dylanwadu arnynt i gofleidio unrhyw ffydd grefyddol, neu gymmeryd eu bedyddio, neu adael eu rhieni, heb eu cydsyniad, yn anghyfreithlawn ac anghyfiawn. Credwn y bydd gwyr, rhieni, a meistri, y rhai sydd yn llywodraethu ar eu gwragedd, plant, a'u gweision, ac yn eu rhwystro rhag cofleidio y gwirionedd, i fod yn atebol am y pechod hwnw.

## LLYTHYR ODDIWRTH Y BRIF-LYWYDDIAETH AT ORSON HYDE.

*Dinas y Llyn Halen Fawr, Gorph.* 28, 1850.

ANWYL FRAWD ORSON HYDE,—Gan y dysgwylir i'r mail gychwyn boreu fory, er ein bod mewn llawn busnes, cymmerwn y cyfleusdra hwn i ateb eich gohebiaeth atom trwy Thos. Williams, yr hwn a gyrhaeddodd yma yn ddiangol ar y 7fed o Fehefin; ac, er fod ein dinas wedi ei gorlenwi gan ymfudwyr newynog oddiar yr 20fed o Fai, nid oeddem wedi derbyn un wybodaeth uniongyrchol, nac hyd y nod newyddiadur, o'r Taleithiau, hyd nes i'r mail gyrhaedd.

Mae yr ymfudwyr wedi heidio i mewn yma gyda'r fath liosogrwydd, fel ag y maent wedi codi pris yr ymborth yn uchel iawn. Gwerthai blawd am ddolar y pwys, yr hyn oedd yn ddigon i annog rhai o'n gwerthwyr i werthu eu tamaid diweddaf, a bod heb ddim. Mae y cynauaf wedi dechreu oddiar y 4ydd o Orphenaf, ac wedi parhau hyd yn bresennol. Cafodd rhai o'r cnydau cynharaf o wenith eu niweidio gan rew, pan yn dechreu ymagor. Oddiar y cynauaf mae'r blawd yn gwerthu am 23 o ddolars y cant. Yr oedd cyflawnder mawr o ŷd wedi ei hau yn yr hydref a'r gwanwyn diweddaf. Mae y rhan fwyaf o'r yd a hauwyd yn yr hydref wedi dwyn cnwd rhagorol, ac y mae cnwd y gwanwyn yn edrych yn neillduol o dda. O herwydd y cyflawnder mawr o eira ar y mynyddoedd, y mae llawer o'n hafonydd wedi llifo dros eu glanau, gan achosi cryn niwed i'r cnydau, &c. Yr oedd yr Iorddonen amrywiol droedfeddi yn uwch nag y gwelwyd hi erioed o'r blaen, a dinystriodd gyfran fawr o'r cnydau islaw y bont. Hysbysir fod y cnydau yn swyddi Weber, Utah, a Toule, yn rhagorol. Mae y brawd Morley, yr hwn a ymwelodd â ni yn ddiweddar o San Pete, yn rhoddi i ni hanesion gobeithiol iawn am gynauaf mawr. Yr oedd ein gwyl-gadwad o'r 24ain wedi ei attendio yn dda ac yn dra dyddorol, hanes yr hwn a gewch yn y "Deseret News."* Mae yn amser o iechyd ac heddwch cyffredinol yn mhlith y Saint, a digon o waith caled, fel ag y mae pob un wedi bod mor ddiwyd nes methu braidd â chael amser i fwyta neu gysgu. Yr ydych chwi yn siarad am y brys a'r ffwdan yn Kanesville; ond pe bydd-

* Y "Deseret News" sydd bapyr pedwar plyg, yn cael ei gyhoeddi yn wythnosol, dan olygiaeth Willard Richards, pris pum dolar y flwyddyn.

ach chwi yma i weled, teimlo, a dirnad y beichiau, y llafur, a'r cyfrifoldeb, sydd bob dydd, awr, a mynyd, yn trolian, pentyru, treiglo, a tharanu arnom, deuech o leiaf i'r penderfyniad nad oes perygl i ni gael y gymmalwst trwy segurdod, neu ormod o ddifyrwch. * * * * Yr ydym ni yn nwylaw ein Tad Nefol, Duw Abraham a Joseph, yr hwn a'n harweiniodd i'r tir hwn; yr hwn a ymborthodd y saint tlodion â sofl-ieir ar y gwastad-diroedd; yr hwn a roddodd nerth i'w fobl lafurio heb fara; yr hwn a ddanfonodd wylanod y dyfnder fel achubwyr i gadw (trwy ddyfetha y cricied) y gwenith euraidd yn fara i'w bobl; a'r hwn sydd wedi cadw ei saint rhag llid eu gelynion. Efe yw ein Tad a'n Hamddiffynwr; yr ydym yn byw yn ei oleuni, yn cael ein harwain gan ei ddoethineb, ein hamddiffyn gan ei gysgod, a'n cynnal gan ei allu. * * * * Mae ein gweithiau cyhoeddus fel ar sefyll o eisieu defnyddiau, a gweithwyr; nid yw ein cynghor-dy wedi ei gwpla etto. Yr ydym wedi adeiladu siop fawr ar Ysgwar y Deml at wneuthur y gof-waith tuag at y gweithiau cyhoeddus; ar ol ei gorphen, gesyd o fewn ein cyrhaedd le tuag at wneuthur pob peth angenrheidiol at adeiladu y Deml. Gorfu i ni gyfnewid a gwella peth ar y Bowery, a buom yn analluog hyd yn hyn i gael ein hystordy yn barod at yr yd, ymborth, &c. * * * Yr ydym yn cyfarfod bob dydd Sadwrn, yn nghwmpeini y brodyr P. P. Pratt, E. T. Benson, George A. Smith, a Thomas Bullock, mewn ystafell bwrpasol, ac yn dyrchafu ein calonau at y Goruchaf mewn gweddi am lwyddiant Israel, pan yr ydych chwi bob amser, ynghyd â'r Saint yn Pottawattamie, yn cael eich coffa. Ein taer ddymuniad yw eich llwyddiant, a llwyddiant yr holl bobl sydd gyda chwi.

Parhawn, eich brodyr yn efengyl yr amynedd,

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
WILLARD RICHARDS.

---

## SWYDDOGION GWLADOL TIRIOGAETH UTAH.

MAE llythyr oddiwrth y brawd John M. Bernhisel, o Ddinas Washington, dyddiedig Hydref 3, 1850, at E. Snow, Ysw., yr hwn lythyr a welir yn y *Star*, yn hysbysu pa swyddogion sydd wedi eu dewis i weinyddu yn llywodraeth Utah; ac enwir hwynt

fel y canlyn :—Llywodraethwr—Brigham Young; Ysgrifenydd —B. D. Harris, o Vermont; Prif Farnwr—Joseph Buffington, o Pennsylvania; Barnwyr cynnorthwyol—Perry E. Brocchus, o Alabama, a Zerubbabel Snow, o Ohio; Cyfreithiwr yr U. D.—Seth M. Blair, o Utah; Marshal yr U. D.—Joseph L. Heywood, o Utah. Mae Congress wedi apwyntio y brawd John M. Bernhisel i brynu gwerth 5000 o ddolars o lyfrau at wasanaeth y llywodraeth yn Utah. Dywedir fod pedwar, allan o'r saith boneddig, yn Saint y Dyddiau Diweddaf.

---

## PREGETHU YN Y DYFFRYN.

[Allan o'r "Deseret News."]

Ar ddydd Sul, y 14eg o Orphenaf, yr oedd y Bowery wedi ei orlenwi gan Saint ac ymfudwyr, y rhai a wrandawsant yn astud ar ddarlith gan yr Henuriad Samuel D. Richards ar egwyddorion cyntaf yr efengyl.

Yna y Llywydd H. C. Kimball a ddygodd dystiolaeth o wirionedd sylwadau ei frawd; yna dywedodd mai pobl ddiwyd, onest, a rhinweddol yw y bobl hyn, ac yn ewyllysio cadw gorchymynion Duw. Yr ydym oll yn gweithio yma, offeiriaid a phobl; ac y mae yn dda ac yn hyfryd genym i weled ein cyfeillion o'r Unol Daleithiau. Oni buasai offeiriaid y dyddiau hyn, buasech chwi oll yn Formoniaid y fynyd hon, ac nid wyf am i chwi fy meio am ddweyd hyn wrthych.

Cyfododd y Llywydd Brigham Young, a dywedodd: Nid oes genyf ond ychydig o fynydau i dreulio, ac yr wyf am bregethu amrywiol o bethau mewn ymadroddion byr. Mae pawb dynion â thuedd i fod yn grefyddol, pa un a ydynt yn gwybod hyny ai peidio: y mae pawb yn dueddol i barchu ac addoli rhywbeth, er eu bod yn annefosiynol ac anghrefyddol. Yr ydym yn treio ymarfer â chrefydd, ond nid ydym yn berffaith, ac etto gallwn ddweyd, y mae llawer mor berffaith ag y gallant fod yn mhlith pob enwad, nid yn unig gyda'r Protestaniaid a'r Pabyddion, ond gyda'r paganiaid a'r eilun-addolwyr hefyd; y maent hwy yn gwneyd y goreu yn ol fel ag y maent yn gwybod, ac y mae hyny yn eu gwneyd mor berffaith yn eu cylch hwy, ag ydyw Duw yn ei gylch yntau.

Pe buasai y gyfraith heb ddyfod at Saul o Tarsus, ni fuasai

pechod yn adnewyddu ynddo; felly, pan fyddo goleuni yn dyfod, y mae heresi, gau egwyddorion, a phob peth arall, yn cael eu hamlygu. Pan fyddo dyn yn gwrthod y drwg, ac yn gwneuthur yn iawn y gweddill o'i fywyd, caiff ei fendithio a'i arddel gan yr Arglwydd.

Yr wyf am ddweyd wrth bob dyn, y mae Ffurf lywodraeth yr Unol Daleithiau, fel ag y cyfansoddwyd hi gan ein tadau, wedi ei harfaethu, ei dadguddio, a'i gosod yn eu calonau gan yr Hollalluog, yr hwn sydd yn eistedd ar ei orsedd yn nghanol y nefoedd; er yn anwybodus iddynt hwy, cafodd ei threfnu trwy ddadguddiadau Iesu Grist; a dywedaf wrthych, yn enw Iesu Grist, y mae cystal ag y dymunwn iddi fod byth.

Y peth nesaf yw, yr wyf yn beiddio codi fy llais yn erbyn drygioni mewn lleoedd uchel; ac os bydd i'r Llywydd, y Senedd, neu Dy y Cynnrychiolwyr weithredu yn ddrwg, dywedaf wrthynt am eu pechodau, fel ag y dywedwn wrth yr aur-gloddiwr tlodaf sydd yn myned a'i sypyn ar ei gefn; o herwydd byddwch sicr, yn y dyddiau diweddaf rhaid i droseddiadau ddyfod, ond gwae y sawl trwy ba rai y deuant.

Dywedaf wrthych chwi, perchwch y cyfreithiau hyn; nid oes un gyfraith yn yr Unol Daleithiau, neu yn y Ffurf-lywodraeth, nad wyf fi yn barod i'w hanrhydeddu; ac yr wyf yn tystio yn ngwyddfod Duw, a'r holl santaidd angylion, a phob dyn da, ac hyd y nod cythreuliaid uffern, nad wyf fi erioed wedi troseddu un o honynt. Pe buasai y Llywodraethwr Boggs heb orchymyn y meinteioedd allan, buasem ni wedi chwipio yr holl derfysglu a ddaeth i'n herbyn; etto, pe buasai yr hen Boggs, druan, ei hunan yn dod yma, ymborthwn ef, llettywn ef dros y nos, a chynnorthwywn ef ar ei ffordd.

Yr wyf yn gweled gwerin fawr yma, ac yn awr yr wyf yn dweyd y dangoswn ni y bydd genym yr ysgolion goreu, a'r lenyddiaeth oreu ar y ddaear; ac hyd y nod wed'yn bydd i ni wneyd diwygiadau.

Yr wyf yn dweyd wrthych chwi, ffermwyr, cadwch eich gwenith, canys yr wyf yn rhagweled os na fyddwch yn ofalus, y bydd newyn wrth eich sodlau; cadwch eich llafur, rhag i chwi ddyoddef; diogelwch pob cnewyllyn, ac os byddwn ddoeth, fe fydd genym ddigon. Os bydd ar ddyn eisieu modd i fyned yn mlaen ar ei daith, gweithied; a bydd hyny yn llesoli y naill a'r llall. Os

bydd i rywun gymmeryd ceffylau ymfudwyr i'r Cae Mawr am 50 cent y dydd, bydd iddo edifarhau; oblegid yr wyf yn dweyd y CAIFF y llafur ei gadw; a chwithau felinwyr, nid oes hawl genych i werthu eich blawd i'r ymfudwyr, i borthi ceffylau a mulod, ac amddifadu y bobl hyn o'u bara. Beth! gwerthu bara i'r dyn sydd yn myned i ennill ei gant a hanner o ddolars y dydd, am yr un bris ag y gwnewch i'r gweithiwr tlawd sydd yn gweithio yn galed yma am ddolar y dydd? Dywedaf wrth y dynion sydd yn myned i ymofyn aur i wneyd delwau euraidd, gwnewch i'r duwiau euraidd sydd genych yn eich pwlpudau i dalu am eich blawd.

Yr ydych chwi sydd yn byw yma, yn gwybod yn well. A ydych chwi wedi anghofio i ddau o'ch brodyr farw trwy fwyta llysiau gwenwynllyd, pan na allent gael tamaid o fara i fwyta? Yr ydym o hyd yn dweyd wrth yr ymfudwyr, nad ydym yn alluog i'w cynnorthwyo; nac ymddibynwch ar y sefydliad hwn am eich lluniaeth; nis gallwn wneyd y lle hwn yn ardd Eden mewn blwyddyn neu ddwy. Yr wyf yn dweyd wrth bob dyn, pan fyddoch yn ysgrifenu at eich cyfeillion, dywedwch wrthynt am ddwyn eu lluniaeth ganddynt, a pheidio ymddibynu ar y lle hwn am fara. Hysbysir ni gan lawer o'r ymfudwyr fod A. W. Babbitt wedi dweyd wrthynt, y gallent gael ymborth yma, yr hyn nid yw wirionedd; canys dywedwyd wrth Almon W. Babbitt NAS gallem ddiwallu yr ymfudwyr ag ymborth—ddarfod i ni ranu y bara ag oedd genym ar gyfer ein teuluoedd ein hunain, y flwyddyn ddiweddaf, iddynt hwy, er eu cadw yn fyw; a bydd raid i ni wneuthur felly y flwyddyn hon etto. Ac yr ydym yn cyhoeddi wrth yr holl deithwyr, pan fyddom ni yn alluog i'w cynnorthwyo, ac y gallant hwythau ymddibynu ar y lle hwn am ymborth, y gwnawn eu hysbysu o hyny; ac yna gallant fod yn sicr o'u hymborth, ac nid cael eu siomi, fel y ca llawer y tymmor hwn.

Pan fyddo dyeithr yn dyfod yma, dywedwch wrtho pa le y gall ei anifeiliaid adgyfnerthu; ac os na roddwch gynghor da i ddyeithriaid, nid ydych yn addas i fod gyda phobl dda.

Ni ychwanegaf ragor—bydded i fendith Duw orphwys arnoch oll. Amen.

---

[Allan o'r "Deseret News" am Orph. 29, 1850.]

Yr oedd y Bowery wedi ei orlenwi y Sabboth diweddaf, a llawer o ddyeithriaid yn bresennol. Anerchwyd y gynnulleidfa yn y

boreu gan y Parch. G. B. Day, o Shermon, Swydd St. Joseph, Michigan, ar er ffordd i'r mwngloddiau. Nid oeddem yn bresennol nes tua'r diwedd, ond deallasom iddo lefaru yn dda. Mae Mr. Day mewn iechyd ac ysbrydoedd da. Canlynwyd ef gan yr Henuriad P. P. Pratt â darlith ddyddorawl. Yn y prydnawn gweinyddwyd y sacrament gan yr esgobion, tra y llefarai yr Henuriad George A. Smith.

Ar ol hyny gwnaeth y Llywydd Brigham Young rai sylwadau i'r rhai hyny na chlywsant dystiolaeth erioed oddiwrth un o Saint y Dyddiau Diweddaf,—crynodeb o'r hyn sydd fel y canlyn:—

"Oni buasai y gorchudd o dywyllwch sydd dros wyneb y ddaear, a bod dyn wedi syrthio o'r gogoniant a fwynhaai unwaith, byddai pawb yn byw mewn goleuni dadguddiad: dyfodiad pechod i'r byd sydd wedi achosi yr holl dywyllwch hyn, ac yn ei wneyd yn anghenrheidiol i'r Arglwydd lefaru o'r nefoedd, danfon angylion i gyfrinachu â dynion, ac achosi ei weision i dystiolaethu am bethau Duw.

"Mae sain yr efengyl yn dychrynu y pregethwr dynol yn ei bwlpud, y cyfreithiwr wrth ei ddesc, y ffermwr wrth ei aradr, a'r crefftwr wrth ei gelfyddyd.

"A ellwch chwi wahaniaethu rhwng gwirionedd a drygioni? A ydyw gallu yr Ysbryd Glân genych? Os ydyw, nid oes achos i chwi ofni holl dwyll daear nac uffern.

"Pe byddai rhywun yn gofyn i bregethwyr sectaraidd yr oes, pa le mae Duw yn byw, pa fodd mae yn edrych, neu pa fodd yr ymddangosa ei balas, a allent hwy ateb y cwestiwn yn gywir? Na, ni allent! A oes llygad gan Dduw? Eu hateb fyddai, y mae efe oll yn llygad, oll yn glust, oll yn enau, oll yn ddwylaw, oll yn draed. Cruglwyth o ffolineb yw hyn i mi. A gaf fi ddweyd wrthych pa le mae Duw yn byw? Lle ei breswylfod yw canol ei deyrnasoedd. Nid yw y byd hwn ond brychyn yn ei deyrnas; ond yn un lled ddu. Nid oes i ni ond un Duw, yr hwn yw Tad ein Harglwydd Iesu Grist, ac efe yw ein brawd henaf, a'r etifedd i'r deyrnas hon, wedi iddi gael ei phuro a'i nefoleiddio. Dywedwch wrthynt, mai plant Tad ein Harglwydd Iesu Grist ydym ni. Onid yw yr Ysgrythyrau yn ein hysbysu i'r Iesu ddweyd, mae efe yw Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, a Thad ein hysbrydoedd ni? Mae ysbryd mewn dyn, ac ysbrydoliad yr Hollalluog

sydd yn rhoddi dealltwriaeth iddo! Mae ein Tad ni yn byw yn nghanol ei deyrnasoedd, a dyweda yr Iesu wrthym am beidio galw neb ar y ddaear yn dad, oblegid fod genym un yn y nefoedd. Mae yn hysbys i chwi, meddai efe wrth Mair, mai 'Efe yw fy Nhad i a'ch Tad chwithau, fy Nuw i a'ch Duw chwithau!' Mae yr Arglwydd wedi ein gwneyd megys y dylem fod, ac wedi parotoi pob peth i'n dwyn yn ol i'w bresennoldeb.

"Deg mlynedd yn ol, yr oedd gwaith Joseph Smith yn cloddio am aur, a derbyn dadguddiadau, yn cael ei alw yn heresi; ac yn wir aeth yn fradwriaeth; a lladdwyd ef gan y bobl am hyny: ac yn awr gwelaf gannoedd o foneddigion parchedig yn myned i gloddio am aur. Yr wyf yn dirmygu dyn na chloddio am aur; mae yn ddyn diog, ac yn bwriadu byw ar gefnau ereill. Na feddyliwch fy mod yn eich beio; yr oll sydd genyf i ddweyd yw, eich bod yn dilyn ol yr 'hen Joe Smith,' ac yn brysio i gloddio am aur; mae yn rywbeth difyr a hynod i mi.

"Yr ydym ni wedi ein gyru yma, ac wedi codi dau gnwd. ac y mae cannoedd o ymfudwyr yn dyfod yma yn awr yn amddifad: dywedaf wrthych chwi, Saint y Dyddiau Diweddaf, na adewch i neb fyned yn newynog oddiwrth eich drysau; rhanwch â hwynt, ac ymddiriedwch yn Nuw am ychwaneg; a'r sawl sydd yn meddu ysbryd dynol, a gyflwynant i ni eu bendithion. Ymddygwch tuag at bob dyn yn dirion, ac yn neillduol, os bydd modd, cynnorthwywch hwynt ar eu taith. Ymfudwyr, na adewch eich hysbrydoedd i fyned lawr; a chywilydd fo i'r drws hwnw a ollynga ddyn ymaith yn newynog. Foneddigion, nis gallwn roddi llawer i chwi am eich gwaith hyd nes elo'r cynauaf heibio; ar ol hyny gallwn ddiwallu eich anghenrheidiau. Cynnorthwywch ni, gyfeillion, i gasglu ein cynauaf, ac yna gellwch gael yr hyn sydd arnoch eisieu, a myned wed'yn i gasglu cyfoeth. Mae un dosparth o bobl, y rhai a wyddant am y gamdriniaeth a gawsom ni, yn dyfod dan grynu at ddrysau fy mrodyr, gan deimlo y gallent roddi unpeth am gwpanaid o wlybwr twymn. Ddyeithriaid, meddaf, dewch yn mlaen! ac os bydd rhywrai yn newynog, ymborther hwynt, ac yna elent at y rhai sydd yn gwerthu; a bydded i'r Arglwydd eich bendithio chwi, frodyr. Amen."

[Dyna fel y mae'r Saint yn treulio eu Sabbothau yn y Dyffryn; a gwyn fyd na chaem ninnau, a miloedd ereill, weled y dydd y byddwn yn eu plith.—GOL.]

## CYMMANFA GYFFREDINOL

### EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, YN MHRYDAIN FAWR A GWLEDYDD CYFAGOS,

*A gynnaliwyd yn y Carpenters' Hall, Manchester, ar ddydd Sadwrn a dydd Sul, y 5med a'r 6fed o Hydref,* 1850.

[PARHAD O DUD. 303.]

YNA cymmeradwywyd y penderfyniadau canlynol:—

Fod yr Henuriad Eli B. Kelsey i ddilyn yr Henuriad Margetts yn Nghynnadledd Llundain.

Fod yr Henuriad Cyrus H. Wheelock i ddilyn yr Henuriad Gibson yn llywyddiaeth Cynnadledd Manchester.

Fod yr Henuriad Lewis Robbins i ddilyn yr Henuriad Cummings yn llywyddiaeth Cynnadledd Sheffield.

Fod yr Henuriad James Marsden i ddilyn yr Henuriad Dunn yn llywyddiaeth Cynnadledd Edinburgh.

Fod yr Henuriad James Bell i ddilyn yr Henuriad Ross, yn llywyddiaeth Cynnadledd Staffordshire.

Fod yr Henuriad Joseph W. Johnson i ddilyn yr Henuriad Watt yn llywyddiaeth Cynnadledd Preston.

Fod yr Henuriad Isaac C. Haight i ddilyn yr Henuriad Booth, yn llywyddiaeth Cynnadledd Cheltenham.

Fod yr Henuriad Jesse W. Crosby i ddilyn yr Henuriad Kelsey yn llywyddiaeth Cynnadledd Warwickshire.

Fod yr Henuriad Haden W. Church i ddilyn yr Henuriad Wheelock yn llywyddiaeth Cynnadledd Herefordshire.

Fod yr Henuriad Jacob Gates i ddilyn yr Henuriad Robbins yn llywyddiaeth Cynnadleddau Leicestershire a Derbyshire.

Fod yr Henuriad Robert Menzies i ddilyn yr Henuriad Marsden yn llywyddiaeth Cynnadledd Bradford.

Fod yr Henuriaid canlynol i barhau llywyddu dros eu gwahanol Gynnadleddau:—James H. Flanigan dros Birmingham, Joseph Clements dros Glasgow, George Halliday dros y South, John Spiers dros Bedfordshire, Thomas Smith dros Norwich, Hugh Findlay dros Hull, John Lyon dros Worcestershire, James Mc. Naughton dros y Channel Islands, William C. Dunbar dros Southampton, George Kendall dros Dorsetshire, Glaud Rodger dros Liverpool, Lorin Babbitt dros Lincolnshire, John S. Higbee dros Newcastle-on-tyne, a John Kelly dros Isle of Man.

Fod cangenau Carlisle, Dalston, Annan, Alstone, a Brampton, i'w tynu o Gynnadledd Newcastle-upon-Tyne, ac i gyfansoddi cynnadledd eu hunain o'r enw Cynnadledd Carlisle, a bod yr Henuriad Appleton Harmon i'w llywyddu.

Fod cangenau Shrewsbury, Asterley, Llanymanach, Pool Quay, Montgomery, a Lightwoodgreen, i'w tynu o Gynnadledd Liverpool, ac i gyfansoddi cynnadledd eu hunain o'r enw Cynnadledd Shropshire, a bod Joseph W. Young i'w llywyddu.

Fod cangenau Whitechurch, Market Drayton, a Prees, i'w tynu o Gynnadledd Staffordshire, a'u huno â Shropshire.

Fod cangen Newtown i'w thynu o'r llywyddiaeth Gymreig, a'i huno â Chynnadledd Shropshire.

Fod cangen Southport i'w thynu o Gynnadledd Preston, a'i huno â Liverpool.

Fod yr ychydig aelodau yn yr Wyddgrug i'w tynu o Gynnadledd Liverpool, a'u huno â sir Fflint, dan y llywyddiaeth Gymreig.

Fod y Saint yn Newport, Stafford, a'r gymmydogaeth, i'w tynu o Gynnadledd Staffordshire, a'u huno â Birmingham.

Fod cangen Great Grimsby i'w thynu o Gynnadledd Bradford, a'i huno ag Hull.

Fod cangenau Ledbury, Keyson Street, Old Storage, Pippin Hill, Ridgway Cross, a Froomes Hill, i'w tynu o Gynnadledd Herefordshire. a'u huno ag Worcestershire.

Fod cangenau Portsmouth a Gosport i'w tynu o Gynnadledd Llundain, a'u huno â Southampton.

Fod y Saint yn Salisbury i'w tynu o Gynnadledd y South, a'u huno â Southampton.

Fod y cangenau a gyfansoddant Gynnadledd Clitheroe yn bresennol i'w huno â Chynnadledd Preston, pan yr ymadawo yr Henuriad Moss i America.

Fod yr Henuriaid Moses Clawson a David Smith i lafurio yn Nghynnadledd Dorsetshire, dan gyfarwyddyd yr Henuriad Kendall.

Fod yr Henuriad Kelly, o Galloway, i lafurio yn Nghynnadledd Worcestershire, dan gyfarwyddyd yr Henuriad Lyon, a'i fod yn cael ei awdurdodi i apwyntio rhyw henuriad neu offeiriad i ofalu am y Saint yn Galloway.

Fod yr Henuriad Claudius V. Spencer i lafurio yn Nghynnadleddau Leicestershire a Derbyshire, dan gyfarwyddyd yr Henuriad Gates.

Fod yr Henuriad Burton i'w ryddhau o Gynnadledd Lincolnshire, a'i apwyntio i lafurio yn Nghynnadledd Edinburgh, am yr amser presennol, dan gyfarwyddyd yr Henuriad Dunn.

Fod yr Henuriad Job Smith i'w ryddhau o Gynnadledd Norwich, a'i apwyntio i lafurio yn Nghynnadledd Bedfordshire, dan gyfarwyddyd yr Henuriad Spiers.

Fod yr Henuriad Gilbert Clements i lywyddu dros yr eglwys yn Belfast a'r cylchoedd, a'i fod yn cael caniatâd i alw y brawd Dennison i'w gynnorthwyo, ac ereill os bydd eisieu.

Fod yr Henuriad E. Sutherland i lywyddu dros yr eglwys yn Dublin a'r cylchoedd.

Fod yr Henuriaid G. B. Wallace a Levi Richards i'w derbyn fel Henuriaid teithiol, dan gyfarwyddyd y Llywyddiaeth yn y wlad hon.

Yr Henuriad F. D. Richards: Buasai yn well o lawer genyf fi i glywed yr Henuriad Pratt yn rhoddi y ddysgeidiaeth ag wyf

ynghy'ch ei chyflwyno, na'i rhoddi fy hunan. Yr wyf yn eithaf ymwybodol fod llawer yn ymddibynu ar y ddysgeidiaeth a roddir i ddysgawdwyr. Mae llawer yn ymddibynu ar ddoethineb, diwydrwydd, a ffyddlondeb Henuriaid llywyddol cynnadleddau a changenau, ynghylch cyflawni gwaith yr Arglwydd. Mae eich cyfarwyddiadau a'ch esiamplau yn effeithio ar y bobl; ac o herwydd hyn mae o'r pwys mwyaf eu bod yn cydgordio â gair Duw, a than arweiniad Ysbryd Duw, fel y byddont yn cael mynediad rhwydd i galonau y Saint, ac i fwyhau eu rhagoroldeb yn ngolwg Duw a'i santaidd angylion. Dylech chwi sydd megys goleuadau y bobl fod yn ddiwyd i adlewyrchu yn wirioneddol a ffyddlawn bob egwyddor o athrawiaeth, a phob dysgeidiaeth arall a roddir i chwi o bryd i bryd gan y rhai a benodwyd i'ch llywyddu yn yr Arglwydd. Nid all un dyn fod yn bresennol yn mhob man i gyfranu gair Duw; eithr danfona efe yr hyn a dderbynia at y bobl trwy ereill; os bydd y rhai a ddanfona efe allan yn meddu yr un ysbryd, ac megys yr Arglwydd Iesu Grist, nid yn gwneuthur eu hewyllys eu hunain, ond ewyllys yr Hwn a'u danfonodd, yna y rhai y danfonir hwynt atynt a dderbyniant yr un ddysgeidiaeth, a gyfranogant o'r un ysbryd, ac a gytunant â'u gilydd i gario unrhyw fesur i weithrediad er dwyn yn mlaen waith yr Arglwydd. Yn hyn y mae gallu Duw yn cael ei amlygu i'r byd trwy ei bobl, trwy eu hundeb ffydd, a'u cydweithrediad, a thrwy eu bod oll yn cael eu harwain gan yr Ysbryd Glân i ofalu am yr un pethau. Un ran o'r gwaith mawr a ymddiriedwyd i ni yw ymfudo y Saint i Seion; ac wrth gyflawni hyn mae y llywyddiaeth yn Liverpool wedi cwrddid â llawer o anhawsderau. Mae cyfarwyddiadau i'r Saint pa fodd i barotoi eu hunain er ymfudo, wedi eu rhoddi lawer gwaith yn y *Star*, yn y modd mwyaf dealladwy; ond er hyny, y mae llythyron yn dyfod yno yn ddyddiol, yn ymofyn am y cyfarwyddiadau ag sydd wedi eu cyhoeddi mor eglur ac mor aml; ac y mae ateb y cyfryw yn achosi coll amser a llafur mawr i'r swyddfa. Os gwna yr Henuriaid gymmeryd arnynt i gyhoeddi a chario allan y cyfarwyddiadau a gynnwysa y *Star*, ar y pwnc hwn a phob pwnc arall, arbeda lawer o waith, llawer o anesmwythder, a llawer o gost i'r Saint, yn gystal ag i ni ein hunain. Y mae llawer o resymau yn dangos y dylai y cyfarwyddiadau a roddir yn y *Star* ar bob pwnc, gael eu hadrodd yn fynych yn nghlustiau y bobl, yn

nghynnulleidfaoedd cyhoeddus y Saint, ac yn nghynghor yr Offeiriadaeth. Un rheswm yw, fod rhai o'r Saint yn annysgedig, ac efallai yn analluog i ddarllen dim, fod llawer yn byw yn mhyllau y ddaear, o un pen yr wythnos i'r llall, a theimlwn yn ein calonau i dosturio wrthynt yn eu sefyllfa gaethiwus; mae llawer sydd yn medru darllen yn dueddol i anghofio yr hyn a ddarllenasant, trwy fod eu meddyliau yn cael eu terfysgu yn aml gan ofalon y byd, yr hyn sydd yn mogi y gair; o ganlyniad, dylai eu meddyliau yn achlysurol gael eu symbylu i gofio. Rheswm arall yw; pan fyddo pobl yn dyfod i mewn i'r eglwys, yn derbyn o ysbryd y gwaith, ac yn dyfod yn wybodus o'n ffordd o weithredu, os bydd ganddynt fodd y maent yn ymgasglu allan; ac y mae aelodau newydd yn cael eu hychwanegu at yr eglwys yn ddyddiol, ag nad ydynt wedi darllen y *Stars*, ac wrth gwrs yn gwybod dim am y cyfarwyddiadau a gyhoeddwyd ynddynt; o ganlyniad, os na fydd yr henuriaid yn eu dysgu ynghylch y pethau hyn, arosant yn anwybodus am danynt, hyd nes y dymunant ymfudo, yna gwnant ymholiad yn y swyddfa, yn rhy fynych, yn lle myned at eu llywydd priodol. Mae sefyllfa anwybodus yr eglwysi, trwy ein bod yn danfon ymaith y rhai mwyaf dysgedig yn nghynghorion a chyfarwyddiadau yr eglwys; ac hefyd y mae ymadawiad y llywyddion cynnadleddol addasaf at y gwaith, llefydd pa rai yn aml a lenwir gan rai llai profiadol ac yn anwybodus o'r cyfarwyddiadau a gyhoeddwyd yn flaenorol,—yn ei wneuthur yn beth anghenrheidiol i lywyddion cynnadleddau a changenau i wneyd eu hunain yn gwbl hysbys o'r holl epistolau a'r cyfarwyddiadau a gyhoeddwyd o bryd i bryd gan y Llywyddiaeth yn y wlad hon, a'r rhai hyny hefyd a gyhoeddwyd gan y Brif-Lywyddiaeth. Frodyr, y mae'r pethau hyn yn anghenrheidiol, fel y gallom gydweithredu yn effeithiol i adeiladu Seion; o herwydd os na ellir danfon allan gyfarwyddiadau, a gweithredu wrthynt yn ddioed, ni ellir cyflawni mesurau teyrnas Dduw. Y mae un sylwad ar y pwnc o ymfudiad, yn deilwng o sylw neillduol; h. y., pan fyddo y rhybydd lythyron argraffedig yn cael eu danfon o'r swyddfa, er hysbysu personau pa bryd y bydd y llong yn hwylio, os methant fyned yn y llong hono, a danfon ateb uniongyrchol i'r perwyl hwnw, trosglwyddir eu rhagdaloedd fel ag y gallant fyned mewn rhyw long arall ar ol hyny; ond os danfonant hwy air i ddweyd eu bod yn myned,

ac yn methu, taflant ni yn agored i golled mawr, heblaw y byddant eu hunain yn fforffetu eu rhagdaloedd. Pan oedd y "James Pennell" yn hwylio ar yr ail o'r mis presennol, yr oedd amryw leoedd yn wag, y rhai a allent fod yn llawn yr un cystal, pe buasai y personau a fethasant ddyfod yn danfon gair i ni pan dderbyniasant eu llythyron rhybydd nas gallent ddyfod. Yr oedd llawer yn awyddus i fyned yn y llong hono ag y gorfu i ni eu rhwystro, o herwydd i ereill nad aethant ein hysbysu eu bod yn myned. Nid yw yn ofynol fod pawb sy'n cael eu rhybyddio yn rhwym o fyned; ond y mae yn ofynol, pan y byddont yn cael eu rhybyddio, eu bod yn ein hysbysu ni pa un a allant fyned ai peidio; yna gellir rhybyddio ereill ag sydd yn barod i gymmeryd eu lle. Mae hyn yn fater o bwys: gellir colli can punt yn rhwydd trwy esgeulusdod bychan.

Peth arall ag sydd yn deilwng o'ch ystyriaeth ddifrifol a dwys, yw cylchrediad helaeth o'r gair argraffedig, trwy eich cynnadleddau. Nid yw Llyfr Mormon a'r Athrawiaeth a'r Cyfammodau yn cael eu gwerthfawrogi gymmaint gan y Saint yn gyffredin ag y cawsent, pe buasai y Saint yn fwy cyfarwydd o'u cynnwysiad; ac ni ellir dysgwyl i bobl ddeallus gredu ynddynt, hyd nes y delont i wybod rhywbeth am eu rhagoroldeb. Ni ellir cylchdaenu y llyfrau hyn yn ormodol, na deall eu cynnwysiad yn rhy dda. Cynnwysant eiriau prophwydi santaidd ac apostolion. Cynnwysant eiriau angylion santaidd. Cynnwysant eiriau yr Arglwydd Iesu Grist i'w bobl ar y ddaear. Hefyd rhagfynegant yr hyn a ddygwydda i genedlaethau presennol dyn hyd ddyfodiad Crist. Ynddynt y nodir allan drefn yr Eglwys, a dyledswyddau ei gwahanol swyddogion, mewn modd rhy eglur i neb a fendithiwyd â'r Ysbryd Glân i'w camddeall. Mae y ddysgeidiaeth a gynnwysir yn y llyfrau hyn o'r fath bwys mawr ag sydd yn gwir deilyngu ystyriaeth pob dyn. Dylent gael eu darllen gan bob teulu a allo ddarllen trwy y wlad, ac y mae'r Saint yn gwbl anesgusodol am aros yn anwybodus o'u cynnwysiad gwerthfawr. Dyledswydd yr athrawon trwy yr holl gynnadleddau yw holi pwy sydd yn meddu, ac heb feddu, y llyfrau hyn, a dysgu y rhai sydd hebddynt i'w mynu, a'u chwilio megys am drysorau bywyd. Os oes rhywrai yn analluog i'w prynu, dyfeisied yr Henuriaid llywyddol ryw gynllun a welont yn oreu er rhoddi i'r tlodion teilwng y trysorau anmhrisiadwy hyn o wybodaeth, fel pan fyddont yn

gweithio yn galed am lai nâ digon o fara, y cynnalier eu hysbrydoedd dan wasgfeuon a chaledi, hyd nes delo dydd eu hymwared. Mae rhai awgrymiadau gwerthfawr ynghylch y ffordd o gyflawni hyn, wedi eu rhoddi yn hanes cymmanfa Warwickshire, gan yr Henuriad Eli B. Kelsey. Heblaw cylchrediad y llyfrau hyn, dylid cadw golwg ar wahanol gyhoeddiadau yr eglwys, y rhai a ysgrifenwyd er egluro ac amddiffyn gwahanol athrawiaethau ein crefydd santaidd. Mae yr argraffwasg yn un o'r offerynau mwyaf galluog a llwyddiannus er taenu gwybodaeth o'r gwirionedd. Mae pob llyfr, pamphlet, neu draethawd, yn bregethwr, yn gymhellwr, neu yn amddiffynwr y ffydd, trwy dystiolaethu y pethau a wyddom, ac a gredwn yn ddiammheuol. Mae geiriau gwr Duw, fel yr had a heuir, yn syrthio ar gynnulleidfaoedd y bobl, y rhai ydynt megys y tiroedd a grybwyllir gan ein Harglwydd,—yr oedd peth yn dda, yn yr hwn y gwreiddiai y gair; ond y mae llawer o'r had gwerthfawr yn syrthio ar fin y ffordd, ar greigle, neu yn mhlith drain, ac o ganlyniad yn tagu, yn gwywo, neu yn cael ei ddifa gan ehediaid yr awyr; tra y mae cyfran fach yn cymmeryd gwraidd mewn calonau tyner a da, ac yn dwyn ffrwyth ar ei ddegfed-ar-hugain, ar ei driugeinfed, ac weithiau ar ei ganfed. Eithr y mae'r cenadon dystaw argraffedig yn myned yn fynych i leoedd na all gweision Duw gael gwrandawiad. Trwy ddamwain neu fwriad, ânt i mewn i *ddrawing-rooms* a pharlwrau y rhai hyny na foddlonent i beryglu eu cymmeriad trwy wrandaw yn gyhoeddus ar ein geiriau. Gall llawer, fel Nicodemus gynt, ag sydd yn ewyllysio gwybod (yn ddirgel) pa beth yw ystyr y pethau hyn, roesawi y fath bregethwyr dystaw i unigrwydd eu hystafelloedd cysgu, os ystyrir hwynt yn beryglus i'r lleill o'r teulu, a dysgu yno beth sydd yn rhaid iddynt ei wneuthur er bod yn gadwedig. Nid yw geiriau y bywyd, wedi eu darllen dan y fath amgylchiadau, ddim mor rhwydd i'w hanghofio. Mae y cyhoeddwyr bach hyn o'r ffydd yn fynych yn cario saeth y gwirionedd adref i'r galon, ac yn creu anesmwythder am wybod os yw y pethau hyn felly, hyd nes y gorfodir hwynt i anturio allan, a chwilio am gynnulleidfa y Saint (yn ofalus er hyny, ar y cyntaf, rhag iddynt gael eu gweled). Mae geiriau y gwirionedd yn felys i'r dyn gonest; mae yn yfed, ac yfed, ac yfed drachefn, nes y byddo dylanwadau grasol yr Ysbryd Glân, wrth gadarnhau y gwirioneddau a glywodd, yn creu

yn ei feddwl y fath foddlonrwydd ac hyfrydwch, yn nghymdeithas pobl Dduw, ag na allai eu cael mewn un man arall, nes y mae yn ysgwyd ymaith ei ofnusrwydd, yn canfod gallu y gwirioneddau hyny a foddlonasant ei enaid mor drwyadl, ac yn beiddio rhoi rheswm yn eofn am y gobaith a wel efe o'i flaen yn yr efengyl. Trwy ddeall fod ei resymau yn anatebadwy, gorfoledda mewn chwilio yn mhellach, a phleidio yn fwy selog y gwirioneddau nefol ag y mae newydd gael allan, yn yr hyn y mae'r Ysbryd Glân yn ei gynnorthwyo; ac wedi ei argyhoeddi o ragoroldeb gwybodaeth Duw, y mae yn ufyddhau i ordinhadau rhag-ordeiniedig y nefoedd er ei iachawdwriaeth oddiwrth ei bechodau, a derbynia dystiolaeth Iesu;—mae ei lawenydd yn awr yn cynnyddu yn yr Arglwydd,—ymddangosa fel wedi ymgyssylltu yn llwyr ag athrawiaethau bywyd, yn gymmaint felly nes yr ymddangosant yn ran o'i natur; tra y mae y pleserau anianol gwag a phechadurus a'i difyrai yn malchder bywyd wedi colli eu blas yn llwyr. Trwy ei fod ef yn awr yn greadur newydd yn Nghrist, mae yr hen bethau wedi myned heibio, ac y mae'r cyfan sydd o'i flaen yn ymddangos yn newydd. Mae ei ymddygiad yn awr, trwy y fath gyfnewidiad ac esiampl dda, yn pregethu wrth ei deulu, ei berthynasau, a'i gyfeillion, gydag argyhoeddiad deg gwaith mwy pwerus nag hyawdledd Caergrawnt, nes y mae'r holl deulu, un ar ol y llall, fel ag y mae enghreifftiau lawer wedi dod dan ein sylw, yn cael eu tueddu i gofleidio'r ffydd, a rhodio ynghyd megys etifeddion y gras o fywyd. Wedi cyrhaedd y sefyllfa ogoneddus hon, teimlir eu dylanwad unol yn mhlith cylch lliosog o gyfeillion, mwy neu lai o ba rai, trwy ddarllen y cyhoeddiadau ac ymddyddan, ydynt yn cael eu hargyhoeddi o'r gwirioneddau a wrthwynebent ychydig ddyddiau neu wythnosau yn flaenorol; a hyn oll yn effeithiau dirgel ddarlleniad un traethodyn a gariwyd i'r tŷ gan forwyn. Hysbyswyd fi yn ddiweddar gan wr boneddig ag oedd wedi ei ddwyn i fyny i fod yn offeiriad yn Eglwys Loegr, i'w sylw gael ei dynu gyntaf trwy absennoldeb cysson ei forwyn; wrth chwilio i'r mater, anrhegwyd ef ganddi ag hysbysiad am gwrs o ddarlithiau ag oedd hi yn myned i'w gwrandaw; tueddwyd yntau i fyned i wrandaw darlith, testun yr hon oedd wedi ei enwi ar y papyr; y canlyniad yw, mae ei deulu ei hun, a theulu arall cyssylltiedig trwy briodas, yn deuluoedd o Saint; ac y mae efe yn priodoli eu hargyhoeddiad i'r achlysur a gafodd o holi ei for-

wyn pa fodd y treuliai yr amser ag oedd yn absennol, pan y cyfarwynodd hi iddo yr hysbysiad am gwrs o ddarlithiau. Yn lle bod yn offeiriad, yn pregethu athrawiaeth eglwys "megys y sefydlwyd trwy gyfraith," y mae efe yn Henuriad, yn pregethu athrawiaethau yr Eglwys a sefydlwyd trwy orchymyn Iesu Grist, a gweinidogaeth santaidd angylion. Gan weled, ynte, frodyr, fod darnau mor fychain o'r gair argraffedig ag yw TRAETHODYN, ac HYSBYSIAD yn cyhoeddi cwrs o ddarlithiau, yn arwain at y fath ganlyniadau mawr a gogoneddus, yn nwylaw morwynion; bydded i ni oll geisio gwasanaethu y bobl yn ffyddlawn â LLYFRAU, PAMPHLETAU, a'r STARS, yn eu hanneddau eu hunain, yn gystal ag yn eu cynnulleidfaoedd cyhoeddus. Mae y daioni mawr a effeithiant, yn ei wneyd yn beth tra dymunol i chwi ddefnyddio pob dyfais ddichonadwy i'w cylchdaenu mor helaeth ag y byddo posibl.

Ychwanegaf yn mhellach, y bydd eich amser a'ch talentau yn cael eu defnyddio yn fwy llesol wrth ddysgu yr offeiriadaeth a'r Saint yn eu dyledswyddau, nag wrth ddechreu y gwaith mewn llefydd newydd, yn gyffredin. Gweinydded yr henuriaid teithiol a'r offeiriaid i'r byd, ac adeiladent gangenau newyddion megys y byddo'r Ysbryd yn cyfarwyddo, tra y byddoch chwi yn porthi y praidd, ac yn eu dysgu pa fodd i wasgaru ar y ddeheu a'r aswy.

Ystyrir yr ychydig nodiadau pwysig hyn yn deilwng o'ch sylw; bydded eich hystyriaeth a'ch gweithrediad o honynt, yn mwyhau eich galluoedd i wneuthur ewyllys Duw, a'ch gwneyd yn weinidogion galluocach i'r bobl dda a lliosog ag y galwyd chwi i lywyddu arnynt.

Wrth derfynu, caniatewch i mi gyd-lawenhau â chwi, fy anwyl gyd-weision, o herwydd y llwyddiant mawr sydd mor gyffredinol wedi coroni eich llafur yn eich amrywiol gynnadleddau. Nid yw eich llafur wedi bod yn ofer yn yr Arglwydd. Cyfyd miloedd i'ch bendithio yn y dydd mawr sydd yn dyfod. Gan fod amser ymadawiad y Llywydd Pratt yn agosâu, yr wyf yn gweled mewn rhan ddyledswyddau y llywyddiaeth yn disgyn arnaf fel y dôn fynyddig; ond trwy eich cydweithrediad ymbilgar, a bendithion helaethlawn yr Ysbryd Glân, gobeithiaf y galluogir fi i sefyll gyda chwi yn ddiogel, hyd nes y gorphenwn ein gyrfa mewn llawenydd.

*(I'w barhau.)*

## GWYL FLYNYDDOL Y 24AIN O ORPHENAF, YN NYFFRYN Y LLYN HALEN FAWR.

AR y dydd nodedig uchod, ar doriad y dydd, dihunwyd y trigolion gan swn magnelau a pheroriaeth melysber, er eu coffâu i barotoi i gadw gwyl o goffadwriaeth am ddyfodiad y Llywyddion Brigham Young a Kimball, ynghyd â'r *pioneers*, i'r Dyffryn. Am hanner awr wedi saith, galwyd y bobl ynghyd i'r Bowery gan swn magnelau, lle yr oedd pob peth wedi ei barotoi er gwneyd pawb yn gysurus. Am wyth, ffurfiwyd gorymdaith wrth y Bowery, dan gyfarwyddyd Daniel H. Wells, Samuel W. Richards, James A. Little, Dan Jones, a Horace S. Eldridge, yn y drefn ganlynol:—1. Y côr milwraidd, gyda baniar, "Gwirionedd a Rhyddid." 2. Y côr pres, yn eu gwisgoedd unffurf. 3. Pedwar ar hugain o wyr ieuainc, mewn llodrau gwynion wedi eu harddu â chord du, gwregys coch dros yr ysgwydd aswy, gyda chotiau tywyll, hetiau gwellt teg wedi eu harddu â gwyrdd, ac yn cario baniar ag arni, "Llew yr Arglwydd;" dan arweiniad James A. Little. 4. Pedair ar hugain o ferched ieuainc, mewn gwisgoedd gwynion, gyda scarff lâs dros yr ysgwydd ddeheu, a thorch o rosynau coch a gwyn am eu penau, gyda'u baniar, "Henffych i'n Blaenor;" dan areiniad S. W. Richards. 5. Pedwar ar hugain o henafgwyr, wedi gwisgo fel dinasyddion, gyda'u ffyn, ac yn cario baniar y cleisau a'r gweliau, ar yr hon yr oedd, "Gwroniaid '76;" dan arweiniad Dan Jones. 6. Pedwar ar hugain o Esgobion, a'u baneran, dan arweiniad yr Esgob Whitney. 7. Swyddogion awdurdodol y fyddin, ar draed, yn eu gwisg filwraidd, a chleddyfau; dan arweiniad y Cadfridog D. H. Wells. Yn y drefn uchod aethant dan arweiniad y marshal i dŷ y llywodraethwr, lle y derbyniasant y personau canlynol:—John Smith, Capt. Stansbury, Daniel Spencer, W. W. Phelps, W. I. Appleby, P. P. Pratt, Geo. A. Smith, H. C. Kimball, y Llywodraethwr B. Young, Isaac Morley, Lieut. Gunnison, Orson Spencer, Simeon Andrews, Hosea Stout, Ezra T. Benson, James Lewis, Willard Richards, Thomas Bullock,—gyda thair bonllef. Dychwelodd yr orymdaith yn ol at y Bowery, lle cyflawnwyd y seremoniau arferol, ac y chwareuwyd amryw donau gan y corau. Am hanner awr wedi wyth, galwyd y cyfarfod i drefn, ac wedi canu "Lift up your stately heads," &c., gweddiwyd gan lywydd y Stake,

Daniel Spencer. Yna cyfododd y Llywydd Brigham Young i ddweyd ychydig o eiriau wrth y rhai hyny ag oedd yn proffesu y grefydd Gristionogol. Dywedodd eu bod hwy wedi ymgynnull ynghyd i gynnal y drydedd wyl flynyddol o ddyfodiad y *pioneers* i'r Dyffryn. "Yr ydym yn honi y rhyddid o weithredu yn ol ein hewyllys, a'n dewisiad yw cofio fod yr Hollalluog wedi gwared ei bobl o bob perygl, ofn, dyoddefiadau, terfysgoedd, ac anghyfannedd-dra ar bob llaw, a'u planu yn y dyffryn heddychlawn hwn." —Wedi i'r cor chwareu drachefn, cyfododd yr Henuriaid H. G. Sherwood i wneyd anerchiad byr ar ran yr henafgwyr, a chyflwyno y mynegiad o Annibynrwydd, ffurf-lywodraeth yr Unol Daleithiau, ac eiddo Talaeth Deseret i'r Llywodraethwr. Yna canwyd anthem a gyfansoddwyd gan Miss E. R. Snow ar yr achlysur, ar y dôn "Ysbryd yr Arglwydd." Yna traddodwyd araeth hirfaith a rhagorol gan Dr. Willard Richards ynghylch helynt y Saint, a'u sefydliad yn y Dyffryn, a phynciau ereill, yr hon a fuasai yn dda genym allu ei cyhoeddi, pe meddem le. Mae yr hanes yn helaethach yn y "Frontier Guardian" a'r "Star," ond y mae'r gweddill o'r hanes heb ddyfod o'r Dyffryn.

---

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR FFLINT.

Cynnaliwyd Cymmanfa chwarterol sir Fflint ar y 3ydd o Dachwedd, pryd y cynnrychiolwyd 6 o gangenau, yn cynnwys 14 o henuriaid, 9 o offeiriaid, 3 o athrawon, ac un diacon; 18 wedi eu bedyddio er y gymmanfa o'r blaen, 71 wedi eu derbyn trwy llythyron; 2 wedi eu symud trwy lythyron; 1 wedi ei dori allan; cyfanswm, 96. Penderfynwyd i'r brawd Thomas Williams, fod yn ail gyngborydd i'r gynnadledd. Cawsom gyfarodydd hynod o dda ar hyd y dydd.—William Parry, llywydd; Elias Morris, ysgrifenydd.

### CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG.

Cynnaliwyd cymmanfa chwarterol y gynnadledd uchod, ar y 27ain o Hydref, yn Trade's Hall, Abertawy, pan y cynnrychiolwyd 18 o gangenau, yn cynnwys 67 o henuriaid, 30 o offeiriaid, 29 o athrawon, a 18 o ddiaconiaid; wedi eu bedyddio, 28; wedi eu tori allan, 17; cyfanswm, 511. Yn mhlith pethau ereill, penderfynwyd fod y brawd John Rhys Roberts i fod yn gynghorwr blaenaf yn y gynnadledd, a bod Llyfr yr Athrawiaeth a'r Cyfammodau a Llyfr Mormon i gael eu cyhoeddi yn Gymraeg, yn enw Brigham Young neu F. D. Richards, yn ol fel y penderfynir

yn Liverpool. Anerchwyd y cyfarfodydd gan y Llywyddion Phillips, Pugh, Williams, ac ereill, yn dra effeithiol.—Evan Williams, llywydd; J. R. Roberts, ysgrifenydd.

SIR FON.

Cynnaliwyd cymmanfa y gynnadledd hon, yn Nghaernarfon, ar y 17eg o Dachwedd, pan y cynnrychiolwyd 5 o gangenau, yn cynnwys 14 o henuriaid, 9 o offeiriaid, 6 o athrawon, a 2 o ddiaconiaid; 31 wedi eu bedyddio, 2 wedi eu tori allan, ac 8 wedi ymfudo; cyfanswm, 106. Rheoleiddiwyd cangen yn Llangefni, ac Edmond James i fod yn llywydd. Treuliwyd y gymmanfa wrth ein bodd, a chawsom addysgiadau buddiol gan y llywydd. Yr oedd yr ystafell yn orlawn trwy y dydd, yn neillduol yn yr hwyr.—Thos. Morgan, llywydd; Wm. Isaac, ysgrifenydd.

---

## AMRYWIAETHAU.

TACHWEDD.—Yn y mis hwn gellir dweyd fod llysieuaeth yn profi ei marwolaeth. Mae y coed yn awr wedi eu dihatru o'u holl ddail. Cyfenwir y mis hwn yn un tywyll niwlog; ond y mae'r tymheredd weithiau yn ddymunol yn ei ddechreu, a'i gyfartaledd drwy y tymmor yw 43 o raddau. Y mae nifer mawr o blanigion yn parhau mewn blodau trwy y mis. Dywedir fod Tachwedd â thuedd i iselhau ysbrydoedd y Cymry a'r Saeson, o herwydd ei annymunoldeb; a'u bod yn barod i waeddi am y gwanwyn: ond dylem gofio fod pob tymmor yn werthfawr pan wnelom ddefnydd priodol o hono. Mae hyd y nod y mis hwn yn meddu ei bleserau, pe na byddent amgen na'r cyfleusderau a rydd i chwilio am wybodaeth mewn llyfrau gartref wrth y tân.

SYLWAD NEWYDD.—Gan fod swyddogion teyrnas Dduw yn gorfod myned yn fynych i lafurio yn nheyrnas y *tywyllwch*, dylai yr holl Saint fod megys *goleuadau* ar fryn i'w goleuo wrth eu gwaith.

AUR.—Aur yw duw y byd hwn; sisialwch yn unig y gair, ac y mae ei addolwyr yn myned i lawr ar eu gliniau. Anadlwch ef yn y Dyffryn, a chywir ef ar benau y mynyddoedd. Dywedwch pa le y gellir ei gael, a rhuthra miliynau i'r fan yn gyflymach nag yr elent i'r nefoedd.—*Deseret News.*

CWMNI ANNIBYNOL.—Pasiodd dyn yn arwain buwch, efo sypyn bychan, heibio ein swyddfa ni y ddoe, a'i wyneb tua'r gorllewin.—*Deseret News.*

DIAREB.—Nac edrychwch ddanedd y ceffyl a roddir.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

RHIF. 24.

"DEUWCH ALLAN O HONI HI,
(SEF BABILON) FY MHOBL I."

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

CYF. II.] RHAGFYR, 1850. [PRIS $2\frac{1}{2}g$.

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN J. DAVIS, GEORGETOWN;
AR WERTH HEFYD
Gan y Saint yn gyffredinol, a llawer o Lyfrwerthwyr,
trwy y Deau a'r Gogledd.

1850

## AT EIN GOHEBWYR, &c.

PETH O BWYS.—Erfyniwn etto y gwna yr holl Ddosparthwyr settlo â ni yn llwyr ar ddiwedd y flwyddyn, megys y rhybyddiwyd yn y rhifyn diweddaf.—Darfu i ni gredu y cawsem oddeutu 1500 o dderbynwyr i'r ATHRAWIAETH A'R CYFAMMODAU, ond yn lle hyny ni chawsom fwy na'r hanner, yr hyn a bar i ni oedi ei gyhoeddi, hyd nes y delo mwy o alw am dano, er fod rhifyn yn barod i'r wasg, a chost mawr wedi myned iddo. Cawsom orchymyn i'w argraffu, mae yn wir, ond pa fodd y gallwn heb gefnogaeth? Y pum mil Saint Cymreig sydd i ateb yn awr pa bryd yr argreffir y llyfr hwn, ac nid nyni. Rhodder cynghor i ni o bob cynnadledd pa beth a wneir? ai argraffu y nifer a gawsom am *ddwy geiniog* y rhifyn, neu ychwaneg am 1½c. Gwyddom y gwerthir llawer mewn blynyddau i ddod, ond pa fodd y ceir arian i'w hargraffu yn bresennol? Gwnaed pawb ei oreu ar frys, gan gofio am yr UDGORN hefyd, a'i fod yntau dros gael cyffelyb gefnogaeth.

"L. F."—Trwy dderbyn yr Athrawiaeth a'r Cyfammodau yn rifynau, gellwch ei brynu a'i ddarllen, fel y byddo yn dod allan, a gellwch ei gadw yn lân gystal â ninnau, os peidiwch roddi ei fenthyg. Gellir ei werthu i bawb.

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir cymmanfa sir Fynwy ar y 29ain o Ragfyr, cymmanfa Merthyr ar y 5med o Ionawr, cymmanfa sir Gaerfyrddin ar y 12fed o Ionawr, a chymmanfa Abertawy ar y 19eg, a sir Aberteifi ar y 26ain.

"PRIODAS."—Mae amrywiol ohebwyr wedi ysgrifenu atom yn nghylch yr hyn a ddyfynasom o'r Athrawiaeth a'r Cyfammodau, yn ein rhifyn diweddaf. Cyn y gall neb o swyddogion y Saint weinyddu priodas, mae yn ofynol cael rhyw gapel neu ystafell wedi eu cofrestru, yr hyn a gostia £3; ac hefyd rhaid cael presennoldeb y cofrestrydd, megys y mae gyda'r enwadau ereill, tra yn y wlad hon. Ymhelaethwn ar hyn rywbryd etto.

"J. E."—Mae yn ddrwg genym na allwn gael lle i'ch tystiolaeth, oblegid fod cymmaint o bethau pwysig ereill yn llanw ein cyhoeddiad. Bydd ei hadrodd wrth eich cymmydogion yn ateb yr un dyben â'i chyhoeddi.

☞ Mae yr esgeulusdod a ddangosodd llawer o'r llywyddion yn nghylch y Cynnrychioliad diweddaf, wedi peri cryn ofid i'r Lywyddiaeth. Beth pe byddem ninnau yn esgeuluso? ni chawsom fwy o hysbysiaeth nâ hwythau—dim ond gair yn y Star. Da frodyr, peidiwch ein tristâu mewn dim, os gellwch beidio; oblegid y mae beichiau mor bwysig ar ein hysgwyddau, ag na allwn ddal ein hunain, heb eich cynnorthwy chwi. *Darllenwch*, MYFYRIWCH, a GWNEWCH, a Duw a'ch bendithia.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 24.] RHAGFYR, 1850. [CYF. II.

## CYMMANFA GYFFREDINOL

### EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, YN MHRYDAIN FAWR A GWLEDYDD CYFAGOS,

*A gynnaliwyd yn y Carpenters' Hall, Manchester, ar ddydd Sadwrn a dydd Sul, y 5med a'r 6fed o Hydref, 1850.*

[PARHAD O DUD. 319.]

CYFODODD yr Henuriad J. Taylor, a dywedodd,—Y mae un pwnc ag y chwennychwn lefaru ychydig yn ei gylch, ac y mae hwnw yn gyssylltiedig ag ymfudiad crefftwyr i'r Dyffryn, a'r anghenrheidrwydd sydd am gydweithrediad i gyflawni hyn, fel y gallo yr eglwys fwynhau y canlyniadau llesol o hyny. Mae y Brif-Lywyddiaeth yn y Dyffryn, yn eu hanerchiadau cyhoeddus a'u hepistolau cyffredinol, mewn perthynas i'r mater hwn, wedi dangos yr anghen sydd i bersonau o'r fath i fyned yno, fel y gallom wneuthur ein defnyddiau ein hunain; v mae yn wir anghenrheidiol i bob math o bobl i edrych ynghylch hyn, os ydynt am lwyddo. Ar yr egwyddor hon y mae Lloegr wedi ei chynnal, sef gan ei gweithfeydd; ac er fod llawer o ddrygau yn y drefn bresennol ar bethau, mewn perthynas i weithfeydd, ni allai trigolion y wlad hon gynnal eu hunain hebddynt. Yr ydym ni yn myned yn awr i'r wlad hono lle y bwriada yr holl Saint fyned, pan y caniatao amgylchiadau. Mae genym dir bras, a hinsawdd da, ond y mae llawer o anghyfleusderau genym i'w cyfarfod, o eisieu na allwn wneyd ein defnyddiau ein hunain. Mae genym i gario o wlad bellenig lawer o bethau ag a fydd arnom eu heisieu, a'u prynu yn ngwahanol barthau o'r Unol

Daleithiau, pan y gellid darparu y cyfan yn ein plith ein hunain. Pe gallai crefftwyr fyned yno, buasem yn alluog i weithio yn mhlith ein hunain yr holl bethau sydd er ein dedwyddwch a'n mwynhad yn y byd hwn, trwy ddilyn llwybr cywir. Mae rhai pobl yn awyddus i feddu arian, ond gwaith yw y gwir olud. Pe pentyrid aur ac arian i raddau mawr; arweiniant i dlodi, yn hytrach na chyfoeth, pan y camddefnyddir hwynt. Er enghraifft, y mae mwyrif mawr o drigolion Mexico, Peru, Chili, ac amrywiol wledydd ereill ag sydd yn meddu mwn-gloddiau, wedi cael eu darostwng i ystad o anwybodaeth a thylodi, o herwydd nad yw eu cyfoeth wedi ei ddefnyddio yn iawn. Twyllir llawer o bobl sydd yn myned i Galifornia; meddyliant mai cael digon o aur, yw cael cyfoeth: ond a all caffaeliad o aur, yn annibynol ar bob math o waith arall, eich ymborthi a'ch dilladu? Pe buasech yn cynnyg bwsheli o'r llwch gwerthfawr am damaid o fara, neu am ddilledyn, ni allech eu cael heb y ffermwr a'r crefftwr? Beth yw cyfoeth? Os bydd gan ddyn fwyd, a dillad, a cheffylau, a cherbydau, a thai, a thiroedd, yn gyffredin ystyrir ef yn ddyn cyfoethog yn Lloegr, ac yn Ffraine, ac mewn gwledydd Ewropaidd ereill. O ba le mae y pethau hyn yn dyfod ond oddiwrth y dynion sydd yn eu gweithio o'r defnyddiau anmharod? ni ellid cael yr aur â pha un y pwrcasir y pethau hyn, ond trwy lafur dyn. Pan fyddwn yn nyffrynoedd breision y Mynyddoedd Creiglyd, beth fydd arnom eisieu ei wneyd? Mae arnom eisieu sefydlu gweithfeydd rheolaidd, fel y gallom fyned i weithio a pharotoi pobpeth angenrheidiol er dwyn oddiamgylch y cyfoeth hwn. Mae y defnyddiau yn ein meddiant mewn cyflawnder mawr; o herwydd dyma'r wlad oreu yn y byd am anifeiliaid, a defaid, fel ag y bydd digonedd o wlan, a hwnw o'r fath oreu. Meddyliaf fod rhai o honom yn y Dyffryn, a bod eisieu arnom feddiannu hapusrwydd a chyfoeth. Wel, mae eisieu esgidiau arnom, onid oes? ond a gymmerwn ni ledr o'r wlad hon? *na*, mae genym ddigon o anifeiliaid yno; mae arnom eisieu tannerwyr i'w danneru: y mae yno hefyd gyflawnder o risgl a phob peth arall i'r dyben. Yna mae arnom eisieu cryddion i wneyd y lledr yn fotasau ac esgidiau, fel nad elom yn droednoeth, ond yn meddu rhywbeth i gadw ein traed. Yna y mae eisieu hosanau arnom i'n cadw yn gynhes, ac wrth gwrs bydd arnom eisieu gwlan i'w gwneyd; mae genym ddigonedd o hono yno, fel ag y

bydd digon i ddiwallu anghen y bobl. Bydd arnom eisieu peiriannau at gribo a nyddu gwlan. Yr wyf yn deall y gellir nyddu gwlan yr un fath â chotwm, trwy ddiwygiadau a wnaed yn ddiweddar. Mae arnom eisieu myned â'r diwygiadau hyn gyda ni. Gwna un o'r peiriannau hyn arbed gwaith chwech dyn, pan y cymherir ef â'r hen ddull o'r blaen. Efallai y dywed rhai, "Dyna beth yw dystrywio y gelfyddyd." Nid felly; nid oes achos i chwi fyned allan o waith yno, o herwydd liosogiad peiriannau. Mae genym genedl i'w chyfodi, dinasoedd i'w hadeiladu, a themlau i'w codi, a gorchestion mawrion i'w cyflawni; ac os ydych am wneyd gwaith dau ddiwrnod mewn un, gellwch ei wneyd! Yr wyf fi wedi cael digon o hono fy hunan. Ni welais y Saint erioed yn fyr o waith: y drychfeddwl yw, gwneyd cymmaint a fo posibl gyda po leiaf o lafur. Wel, pan fyddo genym edafedd at ein hosanau, cawn ein chwiorydd i'w gwau hwynt.

Y peth nesaf a fydd eisieu yw llodrau. A gawn ni ymddibynu ar genedloedd ereill am ddefnydd y rhai hyn? Na chawn, eithr fe gymmerwn ein gwlan, ac ar ol ei nyddu, bydd i ni ei wau. Mae digon o ddynion o gymmydogaeth Bristau, yn y rhan orllewinol o Loegr, ac o Bradford a Leeds, yn swydd York, ag sydd yn deall y ffordd i wneyd brethynau teg; ac fel hyn bydd genym gystal brethyn llydan ag a ellir wneyd yma neu ryw fan arall; ac ni fydd raid i ni ddyfod yma a phrynu y defnyddiau hyn, a thalu 30 y cant o ardreth arnynt yn yr Unol Daleithiau; ond bydd i ni gyfodi y gwlan ar y mynyddoedd, a mynu pob peth a fydd eisieu o'r natur hyn, a chymmaint ag a fydd eisieu.

Wel, yn awr, mae genym ein cotiau a'n dilladoedd, ond gyda llaw rhaid i rai o honynt fod o sidan, a bydd arnom eisieu neisiedi sidan. Gallwn gymmeryd rhai o wyau pry'r sidan genym o'r wlad hon, neu o'r Taleithiau, neu o Ffrainc, a chynnyrchu y pryfed a'r sidan yn y Dyffryn; ac yna gallwn gymmeryd rhai o'n brodyr o Macclesfield, y rhai sydd yn deall y ffordd i'w weithio. Bydd arnom eisieu hetiau hefyd: mae digonedd o *beaver* yno i gael, a phob math o fanflew: dyma y wlad yn wir y mae Cwmpeini Hudson Bay yn myned i ymofyn manflew.

Felly, y mae genym yn awr ein hesgidiau, a'n potasau, a'n llodrau, a'n hosanau, a'n hetiau; ond nid y'm wedi sylwi ar ein crysau: bydd arnom eisieu crysau. Y Dyffryn yw y lle goreu

yn y byd i godi llin. Nid ydym yn codi cotwm yno, ond meddyliaf y gellir codi cotwm yn y dyffrynoedd deheuol: beth bynag, os na allwn fynu crysau cotwm, gallwn wisgo rhai llian.

Dyna y chwiorydd etto, gyda llaw: bydd eisieu rhyw ddillad arnynt hwy; rhaid i ni beidio eu hanghofio hwy tra y byddom yn enwi yr holl bethau ardderchog hyn. Mae eu hosanau a'u hesgidiau, a llawer o bethau ereill, yn cael eu gwneyd o'r un defnyddiau ag a ddarfu i ni enwi. Nis gwn am ddim, os nad yw eu bonneti, ag sydd yn gwahaniaethu; a gallwn godi digonedd o wellt, fel y gallont wneuthur bonneti gwellt. Bwriadwn arferyd pob peth o'r natur yna, fel y gallo pawb gael eu diwallu o'r pethau sydd arnynt eisieu. Mae *shawls* y benywod yn cael eu gwneuthur o wlan a sidan, ac hemp a sidan.

Yn awr, dyma rai o'r pethau sydd yn anghenrheidiol i wneyd pobl yn gysurus. Gallwn wneyd dillad gwelyau, a phob peth felly, gystal â neb. Yna bydd arnom eisieu llestri pridd, megys cwpanau, *saucers*, plates, a phob peth gogyfer a'r bwrdd tê. Clai, callestr, ac ychydig o bethau ereill, yw y prif ddefnyddiau at eu gwneyd. Meddyliaf y ceir yr holl bethau hyn yno, ac os na allwn eu cael wedi eu gwneyd yno, ni thorent wrth eu cludo ar hyd y daith bell. Mae genym ddigonedd o aur yn y wlad hono, â'r hwn y gallwn addurno ein potiau a'u dysglau os dewiswn. Mae cyflawnder mawr o fendithion a chysuron i'w cael, a'r ffordd oreu yw i ni eu gwneyd ein hunain. Pwy ydym ni? Pobl Dduw ydym. Nyni yw y bobl i fyned yno, ac i gyd-ymdrechu i greu y pethau hyn, ac yna eu mwynhau hwynt.

Bydd i ni adeiladu ein tai ein hunain, a byw yn nhrigfanau ein hunain. Pa beth ynghylch y mwnau? mae genym ddigonedd o honynt, ac o'r natur mwyaf gwerthfawr. Gallwn gloddio i'r mynyddau am y mwnau a fydd eisieu, heb fyned mor ddwfn ag y maent yn myned yn Nghymru; meddiannwn yr egwyddor o gyfoeth yn union yn mhlith ein hunain—y mae yn gynnwysedig yn y wybodaeth a feddwn fel pobl. Bydd arnom eisieu cyllill a ffyrch i fwyta, a rhai offerynau i weithio: o ba le y gallwn eu cael? a gawn ni fyned i Sheffield am danynt? na chawn; eithr fe osodwn y *boys* Cymreig i fŷnu y mŵn o'r mynyddau, ac yna gosod *boys* Sheffield ar waith i'w wneyd yn offerynau, ac yn gyllill a ffyrch, a phob peth cyffelyb arall a fydd arnom eisieu. Yn wir, frodyr, nid oes dim o dan y nefoedd

nad yw o fewn ein cyrhaedd. Ewch chwi yno i weithio, a throi i fyny y tir bras, a chloddio yn y mynyddoedd, ac fe gewch eich diwallu yn helaeth o bethau angbenrheidiol bywyd; a hyny hefyd, heb lawer iawn o drafferth. Nid oes arnom eisieu dim nad allwn ei wneuthur. Ond y mae anghen pethau ereill arnom, y mae eisieu siwgr; ni fydd y chwiorydd yn foddlon myned yn mlaen heb eu tê; ni roddaf ddiolch am dano fy hunan heb siwgr. Pa fodd y mae i ni gael hwnw? yr ydym yn myned i godi *beets*, fel y maent yn gwneyd yn Ffrainc. Mae yr holl genedl Ffrengig yn cael eu diwallu â'r siwgr a wneir o'r betys; y mae'r Dyffryn yn gystal lle i godi betys ag y bu Ffrainc erioed. Bydd i ni gael rhywrai i fyned yno ag ydynt yn deall y ffordd i wneyd siwgr o wraidd y *beets*, ac felly fe ddysgwn i wneuthur ein siwgr ein hunain; ac yna planwn ein coed *peach*, a'n coed cwrens, a choed mair-eirin, a gwneyd *preserves*, ac yna byddwn gystal ein byd â neb. Ond pa fodd y mae hyn oll i gael ei gyflawni? Ni ellir ei gyflawni oll ar unwaith; mae yn rhaid cael cydymdrechiad i ddwyn hyn oddiamgylch. Pe byddai genyf fi yr arian, ac yn ewyllysio elwa, ni fuasai dim a ddewisiwn yn gynt na'r gwaith hwn. Pe byddai genyf y modd, cymmerwn allan gwmpeini o wneuthurwyr pridd-lestri; awn at lywyddion y cynnadleddau, a dywedwn, Yr wyf am i chwi ddangos i mi rai o'ch pridd lestrwyr goreu.—Yr wyf am reoleiddio cwmpeini o honynt i fyned yn union i'r Dyffryn, ac wedi iddynt gyrhaedd yno, i wneuthur yr un fath lestri, ac mor dda, ag y maent yn eu gwneyd yma yn Lloegr. Sicrhaf y gwnelai y dyn a gymmerai hyny mewn llaw ei hun yn gyfoethog, o herwydd buasai galwad mawr am bethau felly, a chawsai ei dalu yn dda am danynt. Edrychwch gymmaint o lestri pridd sydd yn cael eu cludo yn awr i'r wlad hono, a'r tolliadau trymion sydd arnynt. Maent yn myned o law y gwneuthurwr i law y marsiandwr cyfanwerth, ac y mae ef yn cael elwa oddiwrthynt. Yna y maent yn cael eu prynu gan y dirprwywr, ac y mae yntau yn cael ei elw hefyd, am ei wasanaeth; yna y maent yn myned drosodd i'r Unol Dalethiau, ac yno y mae 30 y cant arnynt o doll i'w thalu; wedi hyny ânt i ddwylaw ceidwad yr ystordy, ac y mae yn rhaid iddo yntau elwa arnynt. Fel hyn, cyn y byddo rhywbeth yn ein cyrhaedd, yr ydym yn talu pedwar neu bump gwerth yr hyn yw ei werth. Yr wyf wedi gweled dysglau cyffrediu yn gwerthu

am hanner dolar (2s. 1c.) yr un, yn y Dyffryn; nid ydynt mor uchel yn yr Unol Daleithiau. Mae y pris ychwanegol hwn yn cael ei osod arnynt o herwydd fod rhai yn tori. Yn awr, rhaid i bob dyn craffus weled ar unwaith, pe byddai i ni ddilyn llwybr o'r fath a ddesgrifiwyd, y buasai yn cyfoethogi ac yn dyrchafu y bobl hyn. Mae genym egwyddorion gwybodaeth yn ein plith ein hunain; ac y mae yn amlwg mai y drefn oreu yw, gwneuthur yn ein plith ein hunain yr holl bethau sydd arnom eu heisieu. Buaswn i yn cymmeradwyo, pe byddai yn bosibl gwneuthur hyny, i ddanfon cwmpeini bychan o wneuthurwyr pridd-lestri yn mlaen yn uniongyrchol i'r Dyffryn; ac wedi myned yno gwneuthur plats a dysglau, a phob peth arall angenrheidiol. Carswn weled y pridd-lestrwyr yn medru cario y peth allan yn effeithiol. Y mae yn beth gwir angenrheidiol yn yr amser presennol, a gwna ddaioni i bwy bynag a gymmero hyny mewn llaw. Buaswn i dros i ddau neu dri ymuno â'u gilydd, a chynnyrchu modd i gyflawni hyn.

Y mae un peth arall wyf am siarad yn ei gylch. Buasai yn beth da pe gallai cwmpeini fel hyn gael ei reoleiddio i sefydlu gweithfeydd brethynau, ac os gallent, i gymmeryd ganddynt beiriant fel yr un a grybwyllais. Yr oedd rhyw beiriannau bychain yn myned o St. Louis, ond ofnwyf na fyddant yn alluog i gyfarfod ag anghenion y bobl. Yn awr, bydd i bersonau a elo allan i godi sefydliadau o'r fath, eu cael yn ffynnonell fawr o gyfoeth. Pe buasai genyf fi arian, a'm bod am elwa, ni fuasai dim ag y gosodwn allan fy arian arno yn gynt na rhai o'r busneson hyn; ac nid oes genyf ammheuaeth, na chawn gan lawer o feistri y gweithfeydd mawrion yn y wlad hon, ar ol dangos iddynt y manteision, i neidio at y cynnyg; ond yr ydym am i'r brodyr wneuthur hyn, a mwynhau y manteision; buasai ereill yn eich gorthrymu, ac yn rhwymo beichiau arnoch. Nid ydym am orthrymder, ond am i bob dyn fod yn rhydd—yn rhydd rhag cael ei falu lawr i lwch marwolaeth. Yr ydym am i bob dyn fod yn hapus, a mwynhau bendithion bywyd. Pe gallai ychydig o gyllellwyr fyned yno yn fuan, byddai yn beth da, gan fod cynnyrch eu celfyddyd hwy yn angenrheidiol yn uniongyrchol, yn gystal â rhai o gelfyddydau ereill. A phe gallai rhai personau fyned a sefydlu gweithfeydd gwrthbanau a *shawls*, neu pe elai personau o Bradford a gwneyd addurniadau benywod;

buasai rhai pethau felly yn dra defnyddiol ac ennillfawr. Yna gallem fod yn weithyddion ac yn farsiandwyr ein hunain, heb achos danfon allan gymmaint o arian i bwrcasu y pethau hyn. Mae yr Arglwydd yn ei ragluniaeth wedi tywallt i waered gyflawnder o lawer o'r pethau hyn ar y Saint yn y Dyffryn, ac y mae yn dda arnynt yn yr amser presennol, ond y mae ganddynt i ddanfon allan am werth rhai cannoedd o filoedd o ddolars o nwyddau yn flynyddol. Yn awr, nid oes achos am hyn, oblegid y mae moddion at hyny yn ein plith ein hunain, ac yr ydym am adeiladu y naill y llall, a bydd i bob peth fyned yn mlaen yn hwylus. A dyma'r peth oedd genym mewn golwg, wrth ysgrifenu at y Saint yn y wlad hon, ynghylch y pethau hyn.

Ac etto, gall fod dynion a elent i sefydlu gwaith haiarn, ond tybiwyf y gall rhai fod yno ag sydd yn deall y gwaith hyny; pe gallai cwmpeini o'r natur hyny fyned, buasai yn beth da. Wrth lefaru ynghylch y pethau hyn, yr wyf am osod o'ch blaenau y rhai hyny sydd eisieu yn fwyaf uniongyrchol, ac y mae y rhan fwyaf a enwais yn dyfod dan y pen hwn. Mae eisieu fferyllydd ymarferol da, nid un sydd yn dweyd ei fod felly, mewn enw yn unig, eithr un sydd yn alluog i droi elfenau natur i ddefnydd da; y mae eisieu dynion o'r fath hyn i fyned hefyd. Mae llawer o bethau mewn perthynas i'r ymfudiad hwn ag y gallem sylwi arnynt; ond pe buasai unrhyw berson yn myned a gwneuthur rhai o'r pethau a nodais, neu pe buasai cwmpeini yn myned ac yn gwneuthur y pethau hyn, ennillent fendithion mawr iddynt eu hunain ac i'r Eglwys. Os oes unrhyw wehyddion *carpets*, bydded iddynt fyned; o herwydd y mae eisieu pob peth sydd yn tueddu i ddedwyddoli dyn. Mae yn rhaid i ni gael y pethau hyn yn ein plith ein hunain, ac yna bydd i ni gynnorthwyo y naill y llall. Mae y crochenydd yn gwneyd ei grochanau, ac eisieu prynu bara. Mae y ffermwr yn cynnyrchu gwenith, ac eisieu llestri pridd; felly mae gyda'r gwlanenwr, a'r tànnwr, a'r cyllyllwr, a'r gweydd *carpets*, a phersonau yn mhlith pob cangen o gelfyddydau ereill,—y maent oll eisieu y cysuron cyffedin a allent brynu y naill gan y llall. Yn awr, os gallwn ni gael yr holl bethau hyn yn ein plith ein hunain, fe fyddwn yn gwbl annibynol.

Chwennychwn i'r brodyr chwilio allan pa nifer o grefftwyr a allent gynnorthwyo eu hunain i'r Dyffryn, ac yna pa faint a

fuasai yn ddigon i sefydlu pob un o'r gwahanol gelfyddydau hyn; ac yna, efallai, y gellid cael personau a allent roddi yr arian gofynol; ac ar ol cael gafael mewn rhai felly, ysgrifenent at y brawd Pratt, mewn perthynas i'w dymuniad i gymmeryd y mater mewn llaw. Carswn weled cwmnïoedd wedi eu rheoleiddio i fyned a gweithio y prif nwyddau hyn. Amcanaf gyfrif pa faint a fydd yn anghen ar bymtheg cant o fobl i brynu eu hanghenrheidiau :—

Gwariant oddeutu pedwar dolar yr un bob blwyddyn am fotasau ac esgidiau, yr hyn a gyrhaedd chwech mil o ddolars. Defnyddiant oddeutu deg dolar yr un am frethyn, yr hyn a fydd yn bymtheg mil o ddolars; dau ddolar yr un am lestri pridd, yr hyn a fydd yn dair mil o ddolars; os treuliant ddau ddolar yr un am wlanen, daw hyny i dair mil o ddolars, ac yna dau ddolar yr un am gyllyll, &c., a ddaw yn dair mil o ddolars yn ychwaneg. Yr ydym yn gweled, ynte, fod y swm a warir gan y pymtheg cant personau hyn, am y nwyddau yma yn unig, yn ddeg mil ar hugain o ddolars, neu £6250, mewn un flwyddyn, yn ol y cyfrf lleiaf, ac yr wyf yn meddwl y buasai y galwad yn dyblu y swm hona.

Yn awr, meddyliwch fod dyn yn cymmeryd at y grefft grydd; fe basiai 6000 o ddolars trwy ei ddwylaw bob blwyddyn, a sicrhaf iddo ddwbl y swm hyny. Trafodai sefydliad brethynau 15,000 o ddolars, yn ol y cyfrif iselaf; ac ni fuasai dim o hyn yn cael ei wario i dalu am gludo gwlan, oblegid y mae digon genym wrth law. Gallai cwmpeini o gyllyllwyr gyfrif ar werthu gwerth 3000 o ddolars o gyllyll, &c. Ac ar y llaw arall, os bydd y fath symiau yn myned allan oddiwrthym yn barhaus, bydd nerthoedd ein gwladwriaeth yn cael eu dihysbyddu yn barhaus; yna, gan weled fod genym y defnyddiau yn ein plith ein hunain, dylem wneuthur yr holl bethau hyn, a pheidio ymddibynu ar bobl ereill; gallwn wneuthur pob peth anghenrheidiol er dedwyddwch pob dyn. Gallwn godi hefyd gystal cig eidion a maharen ag a ellwch chwi yn y wlad hon, neu mewn rhyw wlad arall. Nid wyf etto wedi gweled eu gwell. Gallwn gynnyrchu ein llaeth, a'n hymenyn, a'n caws, a'n pys, a'n ffa, a'n cloron, ac holl anghenrheidiau bywyd mewn cyflawnder. Pan fyddo genym yr holl bethau hyn yn ein plith, pa beth fydd genym i ofyn oddiwrth neb yn y byd. Nid ydym am fyned i blith y cened-

loedd i brynu ein hanghenrheidiau, oblegid fe fydd daeargrynfäau ac ing cenedloedd, a daw ffrewyll oddiwrth yr Hollalluog i'w poeni hwynt. Nid ydym am fod yn mysg y cenedloedd pan ddygwyddo y pethau hyn. Mae pobl yn siarad am gydfeddiannaeth (*communism*); mae genym ni y cydwladoldeb goreu yn y byd. Mae yn gydwladoldeb sydd yn cynnwys pob gwybodaeth, ac yn meithrin heddwch a dedwyddwch, ac yn llanw mynwesau dynion â heddwch a llawenydd. Mae yn gydwladoldeb a weithreda yn iawn, ac yr ydym ni yn gweithredu yn iawn, oblegid yr ydym yn hoffi gweithredu yn iawn. Dechreuodd boneddig yn Ffrainc siarad â mi, a dymunai wybod os oeddem ni yn meddwl cyflawni rhywbeth mawr yn y byd? Dywedais wrtho ein bod ni wedi dyfod i bregethu yr efengyl i'r holl fyd; a'i bod eisoes wedi cyrhaedd eithafoedd y ddaear. Nid gwaith ydyw i'w wneuthur mewn congl fechan, ond cyrhaedda trwy amser i dragywyddoldeb. Aiff yn ol i dragywyddoldeb, ac a gymmera afael yn y rhai hyny sydd wedi marw er ys miloedd o flynyddau, ac a'u dwg hwynt i deyrnas Dduw. Gwna dywallt bendithion ar genedloedd i ddyfod, ac yn y diwedd una y nefoedd a'r ddaear ynghyd; a hyn a gyflawnwn yn enw Duw Israel. Mae galluoedd y nefoedd yn rhoddi eu cynnorthwy i ni, ac y mae ein tadau yn y byd tragywyddol yn ymuno gyda ni; oblegid y mae genym addewid o'r bywyd sydd yr awr hon, ac hefyd o'r hwn a fydd. Nid ydym ond braidd wedi dechreu ar ein hanturiaeth ogoneddus. Ar fyr gwnawn gyflawni yr oll a lefarwyd trwy y tadau; yr ydym eisoes yn alluog, ac y mae rhifedi mawr nad ydynt yn perthyn i ni, sydd â'u calonau gyda ni. Bydd i ni fyned allan, frodyr, a pheidio astudio ein hesmwythdra ein hunain, ond pa fodd i ddwyn oddiamgylch gyflawniad o fwriadau gogoneddus Duw. "Pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist? ai gorthrymder, neu ing, neu ymbil, neu newyn, neu noethni, neu embydrwydd, neu gleddyf? Eithr yn y pethau hyn oll yr ydym ni yn fwy nâ choncwerwyr, trwy yr hwn a'u carodd ni." Yr wyf yn teimlo gorfoledd y dydd heddyw, canys yr wyf yn caru gweled fy mrodyr yma sydd wedi bod mewn cyfyng leoedd; yr wyf yn gweled o'm hamgylch frodyr ag sydd wedi cerdded i fyny yn ddi(fn at enau y cyflegr, sydd wedi gorchfygu y pla, pan oedd gallu y gwrthwynebwr yn cael ei ddefnyddio i'n dystrywio. Yr wyf yn llaw-

enychu eich gweled yma; bydded i Dduw eich bendithio bob un; a bydded i ysbryd Duw Israel i orphwys ar eich teuluoedd; a dyweded yr holl gynnulleidfa Amen. (Amen.) Mae gallu gwirionedd i fyned allan, y mae cadwyni y tywyllwch i gael eu dryllio, ac y mae teyrnas Dduw i gael ei hadeiladu, ac nid all un gallu ei rhwystro. Yr ydym yn awr yn dyfod yn sefydledig fel pobl; nis gallaf fyned i un man lle nad ydynt yn siarad am Ddyffryn y Llyn Halen, a'r "bobl Formonaidd;" y mae pawb am wybod ynghylch y gwaith mawr hwn; mae y cenedloedd Ewropaidd wedi dihuno ar y pwnc: nid ydynt yn gwybod fod Duw y nefoedd wedi gosod i fyny ei deyrnas, eithr fe gânt wybod.

Yna yr Henuriad Pratt a lefarodd fel y canlyn:—Mae y pynciau hyn, frodyr, o'r pwys mwyaf; nid pynciau ydynt sydd wedi dechreu gyda ni, eithr pynciau sydd wedi deillio o'r brif ffynnonell, oddiwrth y rhai a apwyntiwyd i edrych ar ol dedwyddwch pobl Dduw yn y dyddiau diweddaf hyn. Gwyddom mai y bobl hyn, y rhai sydd yn cyduno â ni yn eu golygiadau a'u teimladau, yw yr unig bobl a geidw Duw ar wyneb yr holl ddaear, yn amser ei ail ddyfodiad. Caiff Saint y Dyddiau Diweddaf lywodraeth ar holl genedloedd y ddaear yn nyfodiad Crist, a bydd eu hawdurdod dros wyneb yr holl ddaear, ac a gyrhaedd hyd ei heithafoedd. Er nad yw teyrnas Dduw ond yn ei mabandod; nid yw hwn ond dydd y pethau bychain, fel y mae yn bod weithiau, yn flaenorol i ddydd y pethau mawr. Mae Prif Lywydd yr Eglwys yn y Dyffryn wedi gyru cyfarwyddiadau pwrpasol mewn perthynas i bob math o grefftwyr a gweithyddion, ac ynghylch y pethau y mae'r Henuriad Taylor wedi osod o'ch blaen. Ac yn awr yw yr amser ag y mae eu heisieu, oblegid yr ydym wedi ein sefydlu mewn pellder mawr oddiwrth bob cenedl wareiddiedig —yr ydym wedi ein planu yn nyffrynoedd y Mynyddoedd Creiglyd, yn nghanolbarth mawr Gogledd America. Mewn trefn i ni ddyfod yn fawr a llwyddo fel pobl, y mae yn wir angheurheidiol i ni gael gweithfeydd yn ein plith ein hunain. Mae y defnyddiau yno ag sydd yn ofynol ac yn anghenrheidiol i gywreinrwydd a medrusrwyddd yn i'w gweithio. Gosododd y brawd Taylor allan yr anghenrheidrwydd am yr holl bethau hyn; a dymunaf yn awr argraffu ar feddwl llywyddion y cynnadleddau, i edrych trwy eu gwahanol gynnadleddau, am y dynion hyny ag

y mae eisieu iddynt fyned yn uniongyrchol i'r Dyffryn, Bydded iddynt edrych am ddynion sydd yn gelfyddydwyr, y rhai fyddo â modd ganddynt i ymfudo eu hunain; ac os cânt ddynion na fyddont yn gelfyddydwyr, ac â modd ganddynt, dysger hwynt i ddefnyddio eu harian yn y ffordd hono, i gynnorthwyo i gymmeryd drosodd bersonau a fyddo yn ddefnyddiol, megys cwmpeini o bobl i wneuthur brethynau o'r gwlan. Ni allai neb arianog ddefnyddio eu heiddo yn well na thrwy eu defnyddio yn y ffordd hyny. Yn awr, yr ydych yn wybodus nad all un dyn ymweled â'r holl gynnadleddau yn bersonol, a chwilio allan yr holl gelfyddydwyr hyn ei hunan; mae hyn yn ddyledswydd sydd yn gorphwys ar lywyddion y cynnadleddau; a phan y caffont hwynt, dylent eu hannog i fyned i'r Dyffryn yn ddioed. Ceisied y dyn arianog ddefnyddio ei arian, fel ag i ddwyn oddiamgylch y daioni mwyaf i deyrnas Dduw; ac yn lle helpu gwragedd gweddwon ac amddifaid cyn ein bod wedi parotoi ffordd iddynt, bydded iddynt helpu y rhai hyny a fyddo y Lywyddiaeth wedi ddanfon am danynt; wrth wneuthur felly byddwch yn cyflawni eu cynghor, ac yn gosod sylfaen i'r tlodion i fyw pan ddelont mewn blynyddoedd ar ol hyny. Efallai fod digon wedi ei ddweyd ynghylch y pwnc hwn; credwn yr edrycha y llywyddion at y peth yma, a bod ymdrechiadau yn cael eu gwneyd i'w ddwyn oddiamgylch. Mae y drysorfa ymfudol i weithredu ar yr egwyddor hon; dechreuwyd hi yn y Dyffryn: dechreuwyd ystyried yn ei chylch yno, ac mewn ychydig o ddyddiau ar ol hyny cyfranwyd tuag at y drysorfa hon amryw filoedd o ddolars, gan ychydig bersonau yn y Dyffryn. Mae hon i'w defnyddio yn gwbl trwy gynghor Prif Lywyddiaeth yr Eglwys, at ymfudiad y Saint tlodion; ond y rhai a ewyllysiwn ni gymmeryd allan gyntaf o blith y tlodion yw crefftwyr, oblegid y mae eu heisieu yn y Dyffryn i barotoi gyferbyn â'r lleill. Nid yn unig yr ydym yn galw ar y cyfoethog i gynnorthwyo â'u meddiannau hwy, ond yr ydym yn dweyd y bydd y drysorfa hon yn cael ei defnyddio at yr un perwyl.

Meddyliodd rhai personau, ar ddechreuad y drysorfa hon, y buasai yn ateb fel rhyw fath o flaen-dâl, yr hwn a fuasai at eu hewyllys hwy rywbryd yma; dim y fath beth: dichon na chaiff y personau hyny, neu lawer o'r rhai sydd wedi cyfranu tuag at y drysorfa hon, ddim ymfudo am gryn dymmor, ond gobeithiwn

y cyrhaedda at yr holl dlodion cyn llawer o flynyddau. Nid yw yr argoelion presennol yn dangos y caiff yr holl dlodion eu symud yn uniongyrchol, eithr y mae yn anghenrheidiol ymfudo y rhai hyny sydd â mwyaf o'u heisieu yn awr yn y Dyffryn, megys crefftwyr, &c.; bydd y drysorfa hon yn bresennol yn cael ei defnyddio at y pwrpas hwnw. Dymunaf wneyd rhai sylwadau mewn perthynas i gasglu y drysorfa hon. Mae rhai pethau wedi eu hysbysu yn barod yn y *Star* ynghylch hyn, ond yr wyf am wneyd ychwanegiadau.—Pan gafodd y sylwadau hyny eu gwneuthur, nid oedd un treial wedi cael ei wneyd; ac efallai i ni roddi rhai cyfarwyddiadau na ellid eu dwyn i weithrediad. Dysgwyliem y buasai y cyfoethogion yn cyfranu eu deugain a'u hanner can punnoedd, ac felly chwyddo y drysorfa. Ond yn lle hyny, yr ydym yn gweled mai oddiwrth y tlodion yr ydym yn cael fwyaf; cyfranasant hwy eu ceiniogau, &c., a chawsom allan eu bod mor lliosog, fel ag y gofynai saith neu wyth ysgrifenydd i gadw eu henwau a'u cyfraniadau ceiniogaidd.

Yn ail, yr ydym wedi penderfynu mai y drefn ddoethaf fydd i'r is-drysorwyr yn mhob cangen o'r eglwys, i gadw cofres o enwau yr holl bersonau fydd yn cyfranu tuag at y drysorfa hono, a danfon y cyfanswm a gesglir yn mhob cangen i drysorydd cyffredinol eu cynnadledd, a hwnw i ddanfon i Liverpool y swm a gesglir gan yr holl gangenau, ynghyd ag enwau y cangenau, a'r swm a fyddo pob cangen yn gyfranu, a chyfanswm yr holl gangenau.

Y cangenau yw yr unig rai y dymunir arnynt i gadw cofres o enwau yr holl danysgrifwyr, a dymunir arnynt i gadw cyfrif manwl a chywir o bob ffyrling a dderbyniant neu a roddant allan. Wel, yn awr, y mae oddeutu chwe chant o gangenau o'n heglwys yn Mhrydain Fawr a'r Iwerddon; gofyna y rhai hyn chwe chant o ysgrifenwyr, un yn mhob cangen. Dylid edrych ar ol yr ysgrifenwyr hyn, gan nad yw pawb yn onest Dylid apwyntio arolygwyr i arolygu cyfrifon pob ysgrifenydd; o ganlyniad, apwyntied pob cangen ddau ddyn i edrych y cyfrifon a mynu gwybod pa faint sydd wedi ei gasglu gan y gangen; ac os bydd anghen, mynu clywed darllen enw pob cyfranwr, ynghyd â'r swm a gyfranwyd, fel y gallo y gangen wybod fod pob peth yn gywir, ac ar yr un pryd i weled fod y symiau a gyfranwyd yn cael eu trosglwyddo i drysorwr cyffredinol y gynnadledd, a thal ysgrif

yn cael ei derbyn, fel y gallo'r gangen weled fod pob ffyrling yn myned i'r lle priodol. Dyna etto drysorwyr cyffredinol y cynnadleddau; bydd pymtheg ar hugain neu ddeugain yn ofynol; rhaid edrych ar eu hol hwythau hefyd. Rhaid i bob cynnadledd apwyntio dau arolygydd i arolygu cyfrifon y trysorwr cyffredinol, cyfrif i fyny y cyfanswm y mae'r cangenau wedi dalu iddo ef, ac i weled ei fod yn cael tal-ysgrif am y swm a ddanfono i Liverpool. Gellwch weled y ceidw hyn y trysorwr yn Liverpool yn glir. Bydd y symiau a dderbynir yn Liverpool oddiwrth bob cangen yn cael eu hysgrifenu ar y llyfrau, y rhai ydynt yn agored i lywyddion y cynnadleddau i'w harolygu; ac nid yw y trysorfeydd hyn i'w cwrdd, ond yn unig trwy gyfarwyddyd y Brif Lywyddiaeth, yn Nyffryn y Llyn Halen, ac o'r hyn a ddefnyddir fe gedwir cyfrif manwl. Y mae y cynnadleddau wedi myned tu hwnt i'n dysgwyliadau yn yr hyn ag y maent wedi gasglu eisoes, pan yr ystyrir yr amser byr y mae hyn wedi bod mewn gweithrediad; y mae eisoes oddeutu £200 wedi eu cyfranu yn y wlad hon; ac ychydig iawn o'r cynnadleddau sydd wedi hysbysu i ni y symiau ag y maent wedi gasglu; nid wyf yn meddwl fod un rhan o dair wedi ein hysbysu. Dysgwyliwn y bydd yr henuriaid yn egnïol a gweithgar i gario y pethau hyn i weithrediad, fel ag y dyhidlo trysorfeydd i mewn er ymfudo celfyddydwyr, ac ar ol hyny ymfudo y tlawd; ac mewn ychwanegiad at y drysorfa yn y wlad hon, cawn hefyd y drysorfa o'r Llyn Halen Fawr; gwna ddyhidlo i mewn o wlad yr aur, a chaiff ei defnyddio at ymfudo y tlodion. Mae yn beth hollol wahanol i'r hen *joint stock company*; mae yn nefolaidd, mae yn dduwiol; mae yn gynllun ardderchog yn ei fwriad a'i ddyben, er lles y Saint tlodion trwy Brydain Fawr; yr ydych wedi eich llethu i lawr gan dlodi, gan weithio am 7s., 8s., neu 10s. yr wythnos i gynnal teulu lliosog. Yr ydym am eich symud i wlad, lle gydag ychydig o lafur y gellwch fyw a chyrhaedd yn fuan annibynrwydd trwy eich llafur. Fe wyddech fod teyrnas Dduw i gael ei sefydlu ar benau y mynyddoedd yn y dyddiau diweddaf; hi yw y gareg a dorwyd o'r mynydd ag oedd i dreiglo a dryllio yn ddarnau holl deyrnasoedd y byd trwy ei gallu. Yr ydym am osod sylfaen gadarn; yr ydym eisoes yn gweled y *nucleus*, ac fe gynnydda i dyfu, ac nid oes digon o allu yn y wlad obry, nac ar y ddaear, i rwystro y gallu sydd mewn gweithrediad er gwneyd i'r

baban dyfu, eithr fe fydd yn nerthol ac yn alluog i gyflawni bwriadau y Jehofa mawr.

Yr wyf am wneuthur ychydig o sylwadau wrth yr Henuriaid, ynghylch cynnal y gwaith yn y wlad hon. Yr wyf am ychwanegu fy ymdrechiadau at eiddo Llywyddion cynnadleddau er danfon yr Efengyl i lefydd newyddion; eithr nid y Llywydd sydd yn pregethu fwyaf sydd yn gwneyd fwyaf o ddaioni; y mae ganddynt ddyledswyddau ereill heblaw pregethu. Mae pregethu yn dda yn ei le, ond nid y dyn sydd yn pregethu fwyaf, sydd yn cyflawni fwyaf o waith; eithr yr hwn sydd yn chwilio allan am feusydd newyddion i lafurio, a chwilio am ddynion sydd yn awyddus i wneuthur lles yn mhlith meibion dynion, ac sydd yn eu danfon allan i'r wlad amgylchynol; hwnw yw y dyn sydd yn gwneuthur fwyaf o ddaioni yn ei gynnadledd, yw yr hwn sydd yn cadw ei holl swyddogion mewn gwaith, ac yn peidio dyoddef i segurwyr fod yn nghanol y maes. Gall llawer gael ei gyflawni gan y gair argraffedig. Pe buasai yr aelodau yn cael yr amrywiol fathau o draethodau, gallent eu gwasgaru yn mhlith eu cyfeillion a'u cymmydogion, a gwneyd llawer iawn o ddaioni. Gall y Llywyddion fel hyn eu gosod mewn meddiant o offerynau i gyflawni yn agos gymmaint o ddaioni â'r swyddogion; rhodder y traethodau i aelodau yr eglwys i ddosparthu, a gallant wneuthur hyn o dŷ i dŷ bob wythnos. Dylai pob aelod hefyd feddiannu copi o bob un o'n llyfrau at ei wasanaeth ei hun; gall yr holl dlodion gael eu diwallu trwy ffurfio clybiau, fel ag y mae y brawd Kelsey wedi gwneuthur. Pan oedd y brawd Kelsey yn Nghynnadledd Glasgow, gwasgarodd ein llyfrau yn lled helaeth, yr hyn a achosodd i rifedi mawr i ddyfod i'r eglwys.

Er pan aeth i Gynnadledd Warwickshire y mae wedi danfon am werth £50 o lyfrau, o wahanol fathau, ond Llyfr Mormon yn fwyaf neillduol, y rhai a alwyd am danynt ar unwaith. Pa fodd y mae efe wedi cyflawni hyn? nid yw y Saint yn alluog i wneuthur hyn ar unwaith, ond fe ffurfiodd ef gymdeithasau bychain, y rhai ydynt yn cyfranu hyn a hyn bod wythnos neu bythefnos; a thrwy fod y personau hyn wedi cyduno â'u gilydd, y maent yn alluog i dalu symiau bychain i brynu un llyfr, ac yna penderfynu trwy goelbren pwy sydd i gael y llyfr hwnw.

Nid oes un swyddog yn y deyrnas hon yn alluog i fawrygu ei swydd heb y llyfrau, ac heb ei fod yn ymderchu yn barhaus i

roddi yr un peth i ereill. Mae yn wir y gall fod rhifedi o'r Saint nad allant ddarllen, ond fe allant ddysgu darllen; a pho byddent ond defnyddio yr oriau sydd yn cael eu gwastraffu ganddynt, dysgent yn fuan ddarllen Llyfr Mormon. Os na fydd dyn yn gwybod yr hyn a gynnwysir yn y llyfrau hyn, nis gall wneuthur ei holl ddyledswyddau fel swyddog ac aelod yn yr eglwys hon. Bydd iddo ddysgu peth o'i ddyledswydd o'r llyfrau hyn. Mae y llyfrau hyn yn rhoi i chwi reolau cyffredinol eich crefydd, ac y mae Ysbryd y Duw byw yn rhoi y rheolau neillduol. Mae arnoch anghen y llyfrau i roi y rheolau cyffredinol, a'r Ysbryd i roi y rheolau neillduol. Y gweision hyny o eiddo Duw ag sydd yn ceisio gwirionedd o'r gair ysgrifenedig ac oddiwrth ysbryd y brophwydoliaeth, fydd y personau a wyddant pa fodd i helaethu y gwaith, a chyflawni eu dyledswyddau.

Wrth lefaru am y brawd Kelsey fel y gwnaethum, nid wyf am awgrymu nad ydych chwi wedi gwneuthur eich dyledswyddau. Os ydych chwi yn dweyd eich bod wedi gwneyd yr oll a allech, dywedwn Duw a'ch bendithio chwi, ac a'ch cynnorthwyo i wneyd yr oll a alloch yn yr amser dyfodol. Amen.

Wedi rhai sylwadau gan yr Henuriaid F. D. Richards, W. Speakman, E. B. Kelsey, a G. D. Watt, terfynwyd y cyfarfod trwy weddi, am chwech o'r gloch yn yr hwyr, ar ol treulio y dydd ynghyd heb ohiriad, yr hyn a alluogodd y gymmanfa i drafod y rhan fwyaf o'i materion.

### DYDD SUL.

Yr oedd y Neuadd wedi ei gorlenwi ar awr arferol yr addoliad boreuol. Ar ol galw am drefn gan y Llywydd, canodd y côr, "Come, all ye Saints who dwell on earth," &c. Gweddiodd yr Henuriad F. D. Richards. Yna canodd y côr, "God moves in a mysterious way," &c.; ar ol hyny y miloedd ymgynnulliedig a wrandawsant yn astud ar araeth effeithiol gan yr Henuriad John Taylor; dilynwyd ef gan yr Henuriaid James Marsden a Thomas Margetts. Diweddwyd y gwasanaeth boreuol trwy ganu yr hymn, "Sing to the great Jehovah's praise," &c., a thrwy weddi gan yr Henuriad T. Margetts.

Am ddau o'r gloch yn y prydnawn, yr oedd y dorf yn gytun yn yr un lle; yr hon, ar ol canu a gweddio, a wrandawodd ar ddarlith ddyddorol a galluog ar y testun o Ysbryd Glân, gan y

Llywydd O. Pratt, yn yr hon y treiddiodd yn helaeth i'w bwnc, ac a'i cyflwynodd i feddyliau y gwrandawwyr yn y fath fodd ag i argraffu yn ddwfn ynddynt ystyriaeth o bresennoldeb y gallu dwyfol, a'u harwain i ryfeddu ac addoli yr hollalluogrwydd sydd yn cynnal dyn, ac yn ei amgylchynu â chyfreithiau bywyd.

Dilynwyd yr Henuriad Pratt gan yr Henuriaid Levi Richards, G. B. Wallace, a W. Gibson, mewn sylwadau byrion a phriodol iawn.

Am hanner awr wedi chwech, yn yr hwyr, ar ol canu mawl i Dduw, a gweddio gan yr Henuriad Eli B. Kelsey, anerchwyd y dorf liosog eilwaith gan yr Henuriad F. D. Richards; yr hwn a annogodd yr henuriaid a'r offeiriaid ynghylch yr anghenrheidrwydd o ddangos cariad, tosturi, a theimlad da tuag at y miliynau sydd yn eu hamgylchynu, y rhai sydd yn eistedd mewn tywyllwch ac anwybodaeth mewn perthynas i'r genadwri ogoneddus sydd wedi ei dadguddio o'r nefoedd er eu hiachawdwriaeth. Llefarodd yr Henuriad Richards am ddoethineb Duw yn dewis y tlodion yn mhlith dynion i fod yn *bioneers* teyrnas Dduw yn y dyddiau diweddaf; gan ddangos yn eglur, pe buasai Duw wedi dewis rhai cyfoethog a galluog y ddaear, na fuasent byth yn cyflawni yr hyn y mae meibion tlodi a chaledi wedi wneyd, er dwyn eu cyd-ddynion i edifeirwch a chadwedigaeth, o herwydd ni chaniatäai meddalwch eu bywyd, er eu bod yr un mor onest eu calonau, iddynt i ddyoddef y treialon, y blinfyd, a'r caledi ag y mae gweision mwy gostyngedig Duw wedi ddyoddef. Annogodd weinidogion yr Arglwydd i beidio arbed dim trafferth wrth heiaethu y gwaith ar bob llaw, a'i ddwyn i sylw y cyfoethog yn gystal â'r tlawd; obegid y mae pawb yr un mor werthfawr yn ngolwg Duw, pan y maent yn ei wasanaethu ac yn cadw ei orchymynion.

Yn nghwrs ei sylwadau cyfeiriodd at y nifer mawr o faterion a drafodwyd gan y gymmanfa ddydd Sadwrn, gan ddangos ein bod trwy ein hundeb mewn egwyddor a theimlad, a thrwy gynnorthwy yr Ysbryd dwyfol, wedi synu y byd yn symudiadau mawrion yr Eglwys yn ei gallu a'i mawredd; a thra yr oedd Congress America, Senedd Prydain, a'r ddiweddar gymmanfa heddwch yn Frankfort, yn rhanedig mewn egwyddorion a theimladau, ac o ganlyniad mewn gweithredoedd, yr oeddem ni yn unol; yr oedd ein penderfyniadau yn unfrydol, ac yn cael eu cario i weithrediad

gyda gradd o sicrwydd a llwyddiant nad oedd yn hynodi dim o'u gweithrediadau hwy.

Dilynwyd yr Henuriad Richards gan yr Henuriad Taylor, Clements, Booth, a Dunbar, ac wedi hyny terfynwyd y cyfarfod trwy weddi.

ORSON PRATT, *Lywydd.*

G. D. WATT,<br>ROBERT CAMPBELL,<br>JAMES LINFORTH, } *Ysgrifenwyr.*

[Ni chaniatâ terfynau ein cyhoeddiad bychan i ni gyhoeddi yr amrywiol anerchiadau rhagorol a draddodwyd gan lawer o'r henuriaid llywyddol ag oedd yn bresennol. Mae y materion mwyaf pwysig yn awr wedi eu cyhoeddi. Efallai yr ymddangosa y darlithoedd boreu dydd Sul rywbryd etto, os caniateir amser a lle. Mae sylwedd y ddarlith brydnawnol yn gynnwysedig yn yr ysgrif "The Holy Spirit," yn rhif. 20 a 21 o'r *Star.*—GOL Y STAR.]

---

## LLYTHYR YR APOSTOL J. TAYLOR O FFRAINC AT W. PHILLIPS.

*No. 7, Rue de Tournon, a Paris, Rhag. 9, 1850.*

ANWYL FRAWD PHILLIPS,—Gan fod genyf ychydig o fynydau yn segur, defnyddiaf y cyfleusdra i ysgrifenu atoch ychydig o linellau. Yr wyf wedi ysgrifenu ddwywaith at y brawd Howells; ond gan nad wyf wedi cael ateb, tybiwyf naill ai fod fy llythyron i, neu ei eiddo ef, wedi methu cyrhaedd.

Oddiar ein dyfodiad i Paris hyd yn ddiweddar, nid wyf fi wedi teimlo llawer o ysbryd pregethu, na'r brawd Bolton ychwaith: teimlasom yn fwy awyddus i ysgrifenu a pharotoi y rhwyd. Mae yr ysbryd yn ddiweddar, er hyny, wedi dechreu sibrwd ei bod yn bryd i daflu y rhwyd. Yr wyf yn sicr y bydd yn dda genych glywed, i ni ddydd Sul cyn y diweddaf ddal chwech pysgodyn. Bedyddiais hwynt yn yr iaith Ffrengig, yn yr afon, gerllaw Paris. Cawsom amser hyfryd, ac yr oedd Ysbryd yr Arglwydd gyda ni, a llanwodd ein calonau â llawenydd.

Mae un yn ychwanegol wedi rhoddi ei enw oddiar hyny, ac y mae ereill ar fin y dwfr. Dydd Sul diweddaf darfu i ni reoleiddio cangen yma yn Paris, ac ordeinio henuriad ac offeiriad, y rhai ydynt yn ddynion dysgedig a thalentog, yn alluog i bregethu yr efengyl mewn unlle, gan eu bod ill dau yn deall amrywiol ieith-

oedd; y maent hefyd yn llawn o sel ac o'r Ysbryd Glân. Bydd y brawd Howells yn falch i glywed i ni fedyddio gwr a gwraig ag oedd efe yn arferol o ymweled â hwynt (sef y brawd a'r chwaer Squires). Cynnaliwn gyfarfodydd ddwywaith yr wythnos. Mae y brawd Pack hefyd mewn gobaith o wneyd gwaith yn Calais; y mae wedi bedyddio un, ac yn cynnal cyfarfodydd yn gysson.

Wrth ymgymmysgu â'r bobl yma, yr wyf yn cael allan fod y Pabyddion yn fwy parod i ufyddhau i'r efengyl na'r Protestaniaid. Mae y Protestaniaid yn gyffredin yn meddu gormod o dduwioldeb; ac yr wyf fi yn teimlo fel pe na byddwn wedi dyfod i alw rhai cyfiawn, ond pechaduriaid i edifeirwch.

Mae y *Journal des Debats*, sef y prif newyddiadur yn Ffrainc, wedi cyhoeddi cryn lawer am danom. Rhoddais fenthyg rhai llyfrau i'r Golygydd i ddechreu gwneyd dyfyniadau o honynt.

Gall rhai feddwl fod y gwaith yma yn bur araf, eithr yr wyf fi yn teimlo yn fwy awyddus i fod yn ochelgar, gan ymdeimlo ein ffordd yn bwyllog, a gosod sylfaen briodol, na bod yn rhy fyrbwyll. Mae gwaith mawr i'w wneuthur yn Ffrainc, a daw miloedd o'r bobl etto i orfoleddu yn nghyflawnder bendithion efengyl y tangnefedd.

Gan nad yw Paris yn cytuno yn dda â'm hiechyd, yr wyf yn bwriadu dyfod i ymweled â chwi yn Nghymru oddeutu Nadolig, pan y gobeithiaf gael aros wythnos neu ddwy gyda chwi.

Mae y brawd Bolton wedi gorphen cyfieithad cyntaf Llyfr Mormon, eithr gofyna etto ddau ddiwygiad, a dau ddarlleniad arall er ei barotoi i'r wasg: pa fodd bynag, gan fod genym ni ddynion yn yr eglwys ag sydd mor alluog â neb yn Ffrainc i wneuthur hyny, nid oes dim trafferth ynghylch hyny.

Rhoddwch fy nghariad goreu i'r brawd Davis, ac i'r brawd Howells a'i deulu, ac eiddo eich hunan.

Gan y caf eich gweled yn fuan ar eich mynyddoedd eich hun, nid oes angen i mi ysgrifenu rhagor.

Ydwyf, anwyl frawd,

Yr eiddoch yn y cyfammod tragywyddol,

JOHN TAYLOR.

O.Y.—Dywed y brawd Bolton fod yn well i chwi fargena am dywydd twymn erbyn y delwyf fi; ond, pa fodd bynag, *n'importe* (fel dywedai y Ffrancod), gwna y calonau twymn Cymreig yru ymaith yr anwyd.—J. T.

## HANES MORDAITH Y SAINT CYMREIG O LIVERPOOL I NEW ORLEANS, AR FWRDD Y "JOSEPH BADGER."

DYDD Iau, y 17fed o Hydref, tynwyd y llong allan o'r dock, a chymmerwyd agerfad i'w llusgo i'r môr. Am 4 o'r gloch yn y prydnawn, rhoddwyd hwyliau ar y llong, tu allan i'r N. W. Lightship, a rheoleiddiwyd y Saint. Gosodwyd John Morris yn llywydd, ac Howell Williams, David Evans, a John Tingy, yn gynghorwyr iddo; a dosparthwyd y Saint yn 16 o ddosparthiadau, ac henuriaid i lywyddu dros bob dosparth, a chwech o henuriaid ereill i fyned oddiamgylch i weled fod pob dosparth yn cadw y lle yn lân, ac na fyddo neb yn myned i lawr a fyny yr ysgol ar yr awr weddi, nos a boreu, yr hon yw wyth o'r gloch. Penderfynwyd fod David Evans i arolygu rhoddiad allan y dwfr bob dydd, a rhoddiad allan y bwyd bob wythnos. Yr oedd awel gref o wynt o'r W S.W., a llawer o'r Saint yn glaf o glefyd y môr cyn nos.

— 18. Yr oedd awel gref o wynt o'r gorllewin, a'r mwyrif o'r Saint yn glaf. Rhanwyd allan y dwfr yn y boreu. Parhaodd y gwynt yn ein herbyn trwy y dydd. Am wyth o'r gloch o'r nos, anfonwyd gweddi daer at Dduw, gan bawb yn unfrydol, am gael gwynt teg; gwnaeth Duw wrandaw ein gweddi, ac ar yr awr hono trodd y gwynt i'r gogledd, ac aethom yn gysurus trwy y nos.

— 19. Awel hyfryd o'r N.N.E. Tywydd clir am 11 y boreu; yr oedd Ynys Henlli yn wyth milltir i'r deau. Llawer o'r Saint yn dechreu gwella o glefyd y môr, ac yn dechreu edrych am eu bwyd a'u dwfr. Cynnaliwyd cwrdd gweddi am wyth y boreu, ac wyth y nos.

— 20 (Sul). Tywydd teg; pawb o'r Saint yn iach, ac ar y deck. Gorfu arnom roddi y bwyd allan, o herwydd fod y morwyr wedi methu cael amser dydd Sadwrn, a bod amryw o'r brodyr ac ereill heb ddim bwyd. Cadwyd cwrdd Saint nos Sul, a phriodwyd Thomas Sansum a Sarah Ann Chesterfield, gan John Morris, a David Powell ag Ann Evans, gan Howell Williams; a therfynwyd y dydd yn gysurus, a phawb yn mwynhau iechyd.

— 21. Gwynt cryf N.N E. Llong yn myned tua 11 milltir yr awr, ac yn neidio oddeutu yn beinyf. Llawer o'r Saint yn glaf o glefyd y môr. Cymmerais lledred yr haul hanner dydd yn 48 gradd 48 eiliad, gogledd. Prydnawn yn fwy tawel.

— 22. Gwynt yn E.N.E. Tywydd teg, a phawb o'r Saint yn iach. Am chwech yn y prydnawn, cadwyd cwrdd Saint i'r Cymry. Pawb wrth eu bodd, ac yn myned tua 11 o filltiroedd bob awr tua phen ein taith.

— 23. Gwynt N.E ; awel gref; tywydd teg. Llong yn myned tua 11 milltir yr awr. Pawb o'r Saint wrth eu bodd, wedi gwella o glefyd y môr. Cadwyd cwrdd Saint i'r Saeson yn yr hwyr.

— 24. Tywydd teg, gwynt yn N E. Llong yn myned tua 10 milltir yr awr. Pawb o'r Saint yn iach, ac yn abl rhodio ar y

deck. Cadwyd cynghor yn y prydnawn am ddau, er dysgu y swyddogion ynghylch eu gwahanol ddyledswyddau

— 25. Tywydd teg, gwynt o'r N.E. Llong yn myned tua 10 milltir yr awr. Yn y prydnawn gwelwyd dwy o'r ynysoedd gorllewinol o'r enw Pigo a Florence. Cafwyd ychydig o wlaw yn y prydnawn.

— 26. Tywydd teg, gwynt o'r E.N.E. Llong yn myned tua 10 milltir yr awr; pawb o'r Saint wrth eu bodd, yn myned yn mlaen yn gyflym tua Seion. Pawb yn golchi o flaen eu gwelyau.

— 27 (Sul). Tywydd teg, gwynt o'r dwyrain. Llong yn myned tua 10 milltir yr awr. Cadwyd cwrdd cymundeb am 11 y boreu, a phregethu am hanner awr wedi dau yn y prydnawn, a chwrdd gweddi am 7 yn yr hwyr. Pawb wrth eu bodd, yn mwynhau cyflawnder o Ysbryd Duw.

— 28. Tywydd teg, gwynt E.S.E. cryf; llong yn myned tua 12 milltir yr awr yn yr hwyr. Tywydd gwlawog.

— 29. Gwynt cryf o'r deau. Cawodydd o wlaw. Cadwyd cwrdd Saint yn yr hwyr; pawb o'r Saint yn parhau mewn undeb a chariad.

— 30. Tywydd teg, ychydig o wynt N W. Haul yn wresog, a phawb o'r Saint ar hyd y deck. Gwynt o'r gogledd yn y prydnawn, a'r llong yn myned tua 7 milltir yr awr. Cynnaliwyd cwrdd Saint yn yr hwyr gan y Saeson.

— 31. Tywydd teg, gwynt o'r N N E., a'r llong yn myned tua 8 milltir yr awr. Cynnaliwyd cwrdd pregeth yn mhlith y Cymry.

Tachwedd 1. Tywydd teg, gwynt o'r N.E,, a'r llong yn myned tua 9 milltir yr awr. Am 7 yn y boreu, bu farw Edward, mab Daniel Evans, Hirwaen, yn 28 mis oed, a chladdwyd ef yn y môr tua hanner dydd, trwy ddarllen a gweddio gan John Morris. Cynnaliwyd cwrdd pregethu yn yr hwyr gan y Saeson.

— 2. Tywydd teg, gwynt cryf o'r S.E., a'r llong yn myned tua 12 milltir yr awr. Yn yr hwyr gwynt cryf, a gwlawog.

— 3 (Sul). Tywydd teg, gwynt o'r S.W. Cynnaliwyd cwrdd Saint, a rhanwyd yr ordinhad, am 11 y boreu, o dan y deck; a phregethwyd ar y deck am hanner awr wedi dau, a chwrdd gweddi am 7 yn yr hwyr. Pawb o'r Saint yn parhau mewn undeb, a chariad, a chydweithrediad.

— 4. Ychydig o wynt, a chawodydd o wlaw trwy y dydd. Rhoddwyd y bwyd allan.

— 5. Ychydig o wynt N.E. Tywydd teg, a'r haul yn twymno. Cymmerais sylw o'r haul heddyw, a chefais ein lledred yn 24 gradd 55 eiliad. Pawb o'r Saint yn iach; y gorchwyl gwaethaf sydd genym yn bresennol, yw trin bwyd.

— 6. Tywydd teg, gwynt o'r E.S.E., a'r llong yn myned tua 10 milltir yr awr tua phen ei gyrfa. Cymmerais sylw o'r haul heddyw, a chefais ein lledred yn 24 gradd 6 eiliad, gogledd. Cadwyd cynghor am ddau yn y prydnawn, a chwrdd Saint i'r Saeson am chwech yn yr hwyr.

— 7. Gwynt o'r S.S E. Tywydd teg, a'r llong yn myned tua

9 milltir yn yr awr. Pawb o'r Saint yn iach, ac yn parhau mewn undeb a chariad. Yr oedd ein lledred heddyw yn 21 gradd 26 eiliad, gogledd, a hydred yn 66 gradd 21 eiliad, gorllewin. Cynnaliwyd cwrdd pregethu yn yr hwyr.

— 8. Gwynt o'r S.S.E. Tywydd teg, a'r llong yn myned tua 9 milltir yr awr. Am hanner dydd, gwelwyd St. Domingo, sef un o'r West India Islands ag sydd wedi ei phercheuogi gan y Negroaid. Nid ydym ni yn myned yr un ffordd ag yr aeth Capt. Jones, sef heibio i'r Hole in the Wall, o herwydd fod y dwfr yn fach y ffordd hono. Mae y ffordd hon yn gwneuthur y daith tua 800 o filltiroedd yn hwy na'r ffordd yr aeth y Captain.

— 9. Gwynt ysgafn o'r S.W., a'r llong yn myned tua 10 milltir yr awr, heibio i'r tu gogleddol i ynys St. Domingo. Pawb yn mwynhau iechyd, oddieithr dau neu dri o blant bychain.

— 10 (Sul). Tywydd teg, a'r gwynt o'r E.N.E. Am 5 yn y boreu, bu farw Catharine Morris, llysferch William Thomas o Llanelli, yn flwydd oed, a chladdwyd hi yn y môr am ddeg o'r gloch y boreu, trwy ddarllen a gweddio. Cadwyd cwrdd Saint am 11, a phregethu am hanner awr wedi dau, a chwrdd gweddi am saith. Treuliwyd y dydd yn gysurus, a phawb o'r Saint yn parhau mewn undeb a chariad.

— 11. Tywydd teg, a'r gwynt o'r E.N.E. Llong yn myned tua 10 milltir yr awr. Am wyth yn y boreu, yr oedd Cape Mais, y rhan ddwyreiniol o ynys Cuba, yn cyfeirio i'r gogledd, tua 10 milltir o ffordd.

— 12. Tywydd teg, ychydig o wynt, a'r haul yn twymno yn gryf; a'r llong yn hwylio heibio i'r tu deau i Cuba. Cafwyd hwyl wynt lawr i'r after-hatch. Cynnaliwyd cwrdd Saint yn yr hwyr.

— 13. Tywydd teg, ychydig o wynt, a'r haul yn twymno yn gryf. St. Iago de Cuba yn cyfeirio N.E. tua 13 o filltiroedd. Am ddau yn y prydnawn, cynnaliwyd cynghor. Am dri, bu farw Sarah Ann Jane, merch William ac Ann Probert, o gangen Victoria, Mynwy, yn flwydd a deg mis, a chladdwyd hi yn y môr trwy ddarllen a gweddio. Cynnaliwyd cwrdd Saint gan y Saeson yn yr hwyr.

— 14. Gwynt cryf o'r N.N.E. Tywydd teg, a'r llong yn myned tua 10 milltir yr awr heibio i'r tu deau o Cuba. Cynnaliwyd cwrdd pregeth yn yr hwyr.

— 15. Tywydd teg, ac ychydig o wynt o'r N.E. Tir Cuba yn y golwg. Cynnaliwyd pregethu gan y Saeson yn yr hwyr. Am 8 o'r nos, yr oedd Cape Antonio, neu ben Cuba, yn cyfeirio i'r gogledd 8 milltir o ffordd.

— 16. Tywydd teg, ac ychydig o wynt. Yn y prydnawn, ychydig o wynt yn ein herbyn. Pawb yn mwynhau iechyd.

— 17 (Sul). Gwynt cryf, N. N. E., a'r môr yn lled arw. Llawer o'r Saint yn glaf o glefyd y môr. Cynnaliwyd cwrdd gweddi am 11 y boreu, a chwrdd gweddi am 6 yn yr hwyr; methwyd cynnal cwrdd Saint o herwydd y tywydd.

— 18. Tywydd teg, gwynt o'r N.E. Pawb yn iach a chysurus. Rhoddwyd allan y bwyd yn y prydnawn. Gwynt o'r E.S.E.

— 19. Tywydd teg, gwynt o'r deau.

— 20. Gwynt cryf, S.W. Gwlaw yn y boreu. Am ddau yn y prydnawn, cafwyd golwg ar y tir, sef yr *entrance* dwyreiniol i New Orleans. Am 3, daeth y Pilat i'r llong, ac am ddeg o'r nos gollyngwyd yr anghor tu faes y bar. Ganwyd mab i John Treharn heddyw.

— 21. Tywydd hyfryd, gwynt o'r gogledd Am 9 y boreu, daeth yr agerfad i gyfarfod â ni, a thynodd ni lawr ar y bar. Am 11, daeth dau agerfad, a thynwyd ni dros y bar a gollyngwyd yr angor tu fewn y bar, ac yna aeth yr agerfad yn ol i ymofyn llong arall, a chafwyd mae y "James Pennell" oedd hi. Yr oedd wedi hwylio o Liverpool a llwyth o Saint ar yr ail ddydd o Hydref, ac yr oedd wedi cael tywydd garw iawn, nes colli dau o'i hwylbrenau, a'r llall wedi springo. Yr ydym yn cael ein llusgo i fyny gan yr agerfad.—Nid ydym yn dewis cannol ein ffyddlondeb ein hunain; ond yr ydym yn dywedyd hyn, na chafodd un cwmpeini o'r Saint a ymfudodd o'n blaen gystal mordaith ag a gawsom ni, nac mor gyflym ychwaith Y mae genym 5 wythnos o fwyd heb ei gael. Bu 5 farw yn y "James Pennell,' sef 2 mewn oed, a 3 o blant.

— 22. Am ddeg o'r gloch y boreu cyrhaeddasom New Orleans. Aeth y brawd Morris a minau gyda y brawd Cutler, a chytunasom am agerfad i fyned a'n cwmpeini ni a'r Seison a ddaeth efo y "James Pennell," i St. Louis, am 2 ddolar neu 8s. 4c. yr un. Yr oeddem oll ynghylch 300 o rifedi.

— 23 Pawb yn ddiwyd yn parotoi erbyn y delo'r agerfad, yr ydym yn ei ddysgwyl am ddeuddeg o'r gloch yn gyfochrog a'r llong, i'n cymmeryd ni a'n heiddo i fewn. Yr ydym ni oll fel Cymry yn myned i St. Louis. Y mae pawb o'r brodyr wedi bod yn haelionnus i'w gilydd, ac yn cynnorthwyo y rhai tlodion fel y gallom oll fyned gyda'u gilydd. Mae pawb yn parhau mewn undeb a chariad, a thrwy hyny y mae pob peth yn cydweithio er lles, ie, yn llawer gwell na'n dysgwyliad. Yr ydym oll yn cofio atoch chwi, ynghyd ag at yr holl Saint. Yr ydym yn parhau i weddio ar i Dduw agor y ffordd i filoedd o'n cyd genedl i ddyfod ar ein hol. Gobeithiaf yr esgusodwch fy anfedrusrwydd yn ysgrifenu; yr wyf yn ddiwyd gyda'r *luggage*, ac mae'r amser yn fyr.

DAVID EVANS.

Anwyl Frawd Davis,—Yn gymmaint a bod y llythyr uchod yn cael ei ddanfon yn Gymraeg, nid oeddem yn gweled un dyben i ysgrifenu un arall yn Seisneg, gan i bawb gael eu boddloni yn y llywyddiaeth; a phawb yn mwynhau bendithion teyrnas Dduw. Yr oedd yn dda i'r Saint fod Dafydd Evans ganddynt, a rhoddasant arwydd o ddiolchgarwch iddo am ei ddaioni tuag atynt, a'i garedigrwydd yn gwneuthur ei oreu drostynt.

Yr eiddoch yn y gwirionedd,

JOHN MORRIS.

## COFNODION CYNNADLEDDOL.

### SIR DDINBYCH.

CYNNALIWYD cymmanfa y gynnadledd hon, yn Nghapel y Saint, yn Abergele, ar y 17eg o Dachwedd diweddaf. Galwyd am gynnrychioliad pedair o gangenau, a chynnwysent 10 o henuriaid, 14 o offeiriaid, 6 o athrawon, a 5 o ddiaconiaid; 12 wedi eu bedyddio er y gymmanfa o'r blaen; cyfanswm, 151. Sefydlwyd dwy o gangenau, un yn Llanddoged, a'r llall yn Llandudno; a John Davies yn llywydd ar y blaenaf, ac Isaac Morris yn llywydd ar yr olaf. Cymmeradwywyd dal i fyny awdurdodau Eglwys Iesu Grist fel arferol. Cawsom gyfarfodydd buddiol i'r Saint ac i'r byd, ac yr oedd y capel yn llawn, ac amryw allan, trwy y cyfarfodydd.—Cynnaliwyd cynghor dranoeth, yn yr hwn y rhoddwyd amrywiol o addysgiadau buddiol ac effeithiol er ymledaenu gwybodaeth y gwirionedd trwy lyfrau a phregethu, gan y llywydd ac henuriaid ereill.—John Parry, llywydd; Hugh Morris, ysgrifenydd.

### SIR FEIRIONYDD.

Cymmanfa drimisol y gynnadledd hon a gynnaliwyd yn Harlech, ar yr 8fed o Ragfyr. Cynnrychiolwyd chwech o gangenau, yn cynnwys 17 o henuriaid, 2 o offeiriaid, 1 athraw, a 2 ddiacon; bedyddiwyd, 5; torwyd allan, 4; ymfudodd, 2; cyfanswm, 72. Dewiswyd David Roberts a Thomas Hughes i fod yn gynghorwyr i'r Llywydd Wm. Evans, a phenderfynwyd fod John Evans i fod yn henuriad teithiol, ac yn llywydd ar gangen Towyn. Anerchwyd y cyfarfodydd yn effeithiol gan y gwahanol henuriaid.—Wm. Evans, llywydd; James Anwyl, ysgrifenydd.

### SIR FRYCHEINIOG.

Cynnaliwyd cymmanfa y sir hon yn Aberhonddu, ar yr 8fed o'r mis hwn, yn Neuadd y Bull Inn, lle y cynnrychiolwyd pump o gangenau, yn cynnwys 12 o henuriaid, 6 o offeiriaid, 3 o athrawon, a 4 o ddiaconiaid; bedyddiwyd, 9; cyfanswm, 78. Cymmeradwywyd awdurdodau yr eglwys, a chafwyd cyfarfodydd da trwy'r dydd, a chynghorion da a llesol gan y Llywydd Wm. Phillips a'r brawd W. Howells o Aberdar, ac ereill. Sefydlwyd dwy gangen, un yn Aberhonddu, a John Jones yn llywydd, ac un yn Llanbedr, a George Byewater yn llywydd.—John Jones, llywydd; George Byewater, ysgrifenydd.

## AMRYWIAETHAU.

RHAGFYR.—Hwn yw y mis tywyllaf o'r flwyddyn, eithr nid yr oeraf; cyfartaledd cyffredin y tymheredd yw 40 o raddau. Mae y coedydd yn awr wedi eu noethi yn llwyr, ac yn fynych dengys y ddaear orchudd o eira, er mai anaml y mae rhew caled yn Rhagfyr. Yn nghanol yr holl amddifadrwydd hyn, mae y pinwydd a choedydd byth-wyrddion ereill yn parhau i loni y llygad. Mae y rhosyn etto yn parhau i flodeuo, a dynion yn siarad am y flwyddyn newydd.

PRIODI.—Dywedai un Malony mai y rheswm a feddai dros beidio priodi oedd, o herwydd nad oedd ei dŷ yn ddigon mawr i gynnwys y canlyniadau.

PABYDDIAETH.—Mae y Pab wedi gorchymyn rhanu Prydain yn esgobaethau ac archesgobaethau, a rhyfedd mor anfoddlawn yw pawb iddo. Nid yw hyn ond dechreuad gofidiau Babel.

SEFYDLIAD YR EGLWYS YN ITALY.—Ar yr 8fed o Fedi diweddaf, esgynodd Lorenzo Snow, yn nghwmpeini rhai o'i frodyr, i ben mynydd tra uchel, ychydig bellder o La Tour, yn Italy, er sefydlu Eglwys Iesu Grist yn y wlad hono. Penodwyd y brawd L. Snow yn llywydd, a T. B. H. Stenhouse yn ysgrifenydd; a phrophwydodd rhai yno am y llwyddiant sydd i ganlyn.

CALON DYNER.—Mae calon dyner fel y ffrwyth addfed, yr hwn sy'n plygu mor isel fel y mae wrth drugaredd pawb sydd am ei dynu, tra mae y ffrwyth anaddfed yn cadw ei hun allan o afael.

### FFARWEL!

Dewch, dewch, O Saint, gadawn ein gwlad ar ol,
A thrwy ffydd hwyliwn draw;
Bod yma'n hwy mewn trais sydd weithred ffol,
Tra mae gwlad well gerllaw:
'Rym ni yn myn'd trwy rwystrau lu,
Can's Duw yn galw arnom sy;
A'n gwaith yn awr yw rhoi ffarwel,
O ffarwel! O ffarwel!

Mae Seion draw yn hyfryd wlad i fyw
I'r holl Saint calon bur;
Mae'n bryd i ffoi o wlad dialedd Duw,
Lle daw'r farn cyn bo hir;
Am hyny ffown ar frig y dòn,
Trwy nerth ein Duw a'n gwedd yn llon;
Ac awn dan ganu'r gair ffarwel,
O ffarwel! O ffarwel!

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# SEREN Y SAINT;

YN CYNNWYS

EGWYDDORION "GORUCHWYLIAETH CYFLAWNDER YR AMSEROEDD,"

MEWN

TRAETHODAU, LLYTHYRON, HANESION, PRYDYDDIAETH, &c.

" Nyni a iachasom Babilon, ond nid aeth hi yn iach ; gadewch hi, ac awn bawb i'w wlad : canys ei barn a gyrhaedd i'r nefoedd, ac a dderchafwyd hyd yr wybrau,"—JER. LI, 9.

" Dring rhagot, yr efengyles Seion, i fynydd uchel."—ESA. XL, 9.

CYFROL III.

---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD, CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN J. DAVIS, HEOL JOHN, GEORGETOWN.

1851.

# RHAGYMADRODD.

ANWYL DDARLLENWYR,—Mae y drydydd gyfrol o'r UDGORN yn awr yn eich dwylaw, a gellwch fwrw eich golwg drosti i weled ei chynnwysiad, fel nad oes achos eich hysbysu yn y Rhagymadrodd. Cynnwysa lawer o bethau gwerthfawr iawn, o waith apostolion a brodyr teilwng ereill, y rhai a fyddant yn werth eu darllen llawer gwaith drostynt. Mae y flwyddyn hon wedi bod yn un neillduol iawn yn hanes y byd, ac yn hanes yr Eglwys hefyd. Ynddi yr adeiladwyd y Palas Gwydr, yr hwn a fu yn ddrych i genedloedd y ddaear, i weled gorchestion eu gilydd; ac ynddi hefyd y cyhoeddwyd llawer o air Duw i wahanol ieithoedd y byd. Dyma y flwyddyn yn yr hon y canfu y Cymro yr "Athrawiaeth a Chyfammodau" yn llawn, ac oddeutu hanner "Llyfr Mormon," yn iaith ei fam. Hefyd, dyma y flwyddyn y profasom ninnau fwyaf o gyfrifoldeb yn ein bywyd, ac y teimlasom fwyaf o faich ar ein hysgwyddau; a'r Arglwydd yn unig sydd wedi ein dal i fyny. Diolchwn i'n Duw am ei fawr ddaioni tuag atom ni a thuag at y Saint; a diolchwn hefyd i'n dosparthwyr a'n gohebwyr am eu llafur diflino gyda'r UDGORN. Erfyniwn barhad eu llafur y flwyddyn nesaf etto, fel yr udganom yn hwylusach nag erioed, ac fel y caffo y Saint eu hadeiladu, a'r byd ei oleuo. Gweddiwch drosom, frodyr, a chynnaliwch ni trwy eich ffydd; a'r Arglwydd a'ch bendithia chwithau â rhoddion y nef.

Eich ufydd was yn y gwirionedd,

JOHN DAVIS.

*Rhagfyr* 24, 1851.

# CYNNWYSIAD.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 1.] IONAWR 11, 1851. [PRIS 1*g*.

## YR ANERCHIAD BLYNYDDOL.

HYNAWS DDARLLENWYR,—Wele ni etto yn dechreu blwyddyn newydd, ac yn eich cyfarch chwithau â "Blwyddyn Newydd Dda:" bydded i chwi gael derbyn mwy o ddaioni Duw y flwyddyn hon nag a dderbyniasoch erioed; bydded i chwi galenig y nefoedd. Ni wna Duw attal bendithion i'r cyfryw o'i blant ag sydd yn ffyddlawn ac yn cyflawni ei ewyllys.

Gyda phleser yr edrychwn yn ol ar yr yrfa a redasom er pan gymmerasom UDGORN SEION i'w udganu; ystyriwn y ddwy flynedd ddiweddaf y rhai meithaf a welsom erioed, nid o herwydd ein bod yn blino ar y gwaith, ond o herwydd fod gwaith mawr wedi ei wneyd. Gwyddom am flynyddoedd a dreuliasom yn nheyrnas y tywyllwch, y rhai a ymddangosent yn fyrion, o herwydd nad oedd craig yno i gadw ein gwaith rhag cael ei ysgubo ymaith gan lifeiriant amser. Mae yr hyn a wnaethom yn nheyrnas y goleuni yn sefyll yn weledig, a chyfrifwn amser wrth y gwaith a gyflawnwyd. Gobeithiwn yr ymddangosa y flwyddyn hon, a blynyddau dyfodol, yn feithach fyth, fel y gallom ddywedyd etto, mai da oedd i ni barhau yn ein swydd o wasanaethu ein cydgenedl. Llanwer ein blynyddoedd, nid o fynydau ac oriau, eithr o weithredoedd da, y rhai a fyddant yn weledig pan na fyddo amser mwyach. Er troi o'r haulwen yn entrych y nen, a mesur amser dyn; etto, pe na effeithiai gynhesiad y ddaear, a thyfiad yr eginyn, ni fuasai ond megys peth na fu. Gweithredoedd Duw

yw yr achos fod coffa am y saith dydd cyntaf; bu efe yn gweithio chwech dydd, ac ni bu segur wrth orphwys y seithfed, canys efe a'i bendithiodd ac a'i santeiddiodd. Pan orphenom ninnau ein gwaith, fel y gwnaeth Duw, bydd ein dyddiau wedi eu rhifo, a chawn fyned i mewn i'r "orphwysfa sydd etto yn ol i bobl Dduw," i'w santeiddio. Hyd hyny, hyderwn y tystiolaetha Ysbryd Duw, ar ddiwedd pob dydd, wythnos, mis, a blwyddyn, am bob gweithred o'n heiddo, mai da yw, fel y caffom Sabboth dragywyddol i orphwys gyda'r Arglwydd. Cynnalied y Duw tragywyddol ni yn ei law gadarn; a chan ein harwain, arweinied ni tra yn tywys ei blant ar hyd llwybr cadwedigaeth. Ein cri ni a hwythau fyddo yn esgyn i'w glustiau yn barhaus, ac yn cael gwrandawiad, fel y byddo genym Un i ymddiried ynddo yn ngwyneb pob amgylchiad. Efe yw ein Duw ni, ac nid oes debyg iddo; am hyny, molianner ef yn nghynnulleidfaoedd y Saint, a pharcher hyd y nod ei weision lleiaf.

Hyd yma mae y Saint yn parhau gwrandaw ar ein llais, ac yn ymborthi ar y bara a gyfranwn; canys y maent yn ymwybodol y deillia o'r un lle â bara y lleill o'n brodyr yn yr offeiriadaeth. Cawn etto wneyd ein goreu, tra y byddwn yn ein swydd, er gwasanaethu ein darllenwyr â'r pethau goreu a allwn gael, fel y caffont eu hadeiladu yn mhob peth. Ar yr un pryd, gofaled y Saint i beidio gwrandaw ar yr eneidiau bychain, pa rai a oddefir gan Dduw yn yr eglwys, am eu bod yn rhy ddiwerth i'w damnio; y rhai, ped elent i uffern, ni wnelai neb eu harddel; ac am hyny, cedwir hwynt yn yr eglwys i berffeithio amynedd y Saint. Bydd pawb a ddylanwado yn erbyn yr ymdrechiadau a wneir er taenu gwybodaeth o'r efengyl yn mhlith ein cenedl unwaed, yn gwrthwynebu llywodraeth Duw, a cheir y cyfryw yn fuan yn amddifad o'r Dyddanydd arall; yr hwn, pan gollant, a'u gadawa yn ddynion gwenog, anmherthynol i ni, a rhwydd eu hadwaen. Gocheler bleiddiaid a gau-athrawon, canys byddant yn ymlwybro yn ngwisgoedd Saint. Ein gwaith ni fydd rhybyddio, a chael gan ein darllenwyr i ddal yn graff ar yr hyn a ysgrifenwn o bryd i bryd. Na fydded i ni gael ysgrifenu i neb yn ofer; y mae

hyny yn ein digaloni, ac yn ein gwanhau; dysgwyliwn i'r cyfan gael ei ddarllen yn amserol, a thrwy hyny gallwn fod o wasanaeth i'r enwad neillduol y perthynwn iddo.

Erfyniwn ran yn ngweddiau ein brodyr oll, ar i ni gael nerth Duw eleni etto i udganu yr Udgorn yn fwy effeithiol nag erioed; a thaer ddeisyfwn y gwna'r Saint eu goreu i agor ffordd i ni fyned trwy bob cwr o Walia. Rhowch i ni help llaw undeb, a nyni a gyflawnwn orchestwaith; caiff ein sain dreiddio drwy bob cwr o'r wlad, a phob dyn ei rybyddio i ffoi am waredigaeth yn Seion. Mae ein cenadwri ni at y genedl Gymreig, ac yr ydym yn chwennych ei hachub. Danfonwyd ni i udganu yn iaith ein mam, yr hon yw iaith gyffredinol y wlad; a phwy Ddic Shon Dafydd a ymdrecha ein lluddias? Ai rhywun yn meddu Ysbryd Duw? neu rywun ag sydd yn golygu achub ei genedl? Mae modd i'r Cymry oleuo eu cymmydogion Seisnig, heb fod yn awyddus i adael eu hunain heb ddim. Gwnewch dda i bawb, ond yn neillduol i'ch brodyr unwaed. Peidiwch diystyru eich iaith, serch eich bod yn medru siarad ychydig Saesneg, ac wedi bod yn Lloegr; cofiwch fod Duw yn deall Cymraeg, a bod miloedd etto o'r Cymry i alw ar ei enw, ac i gael eu hachub. Ac os ydym ni wedi ein gosod gan apostolion Duw, i gyhoeddi ei air yn Gymraeg, dylai y Saint Cymreig a Seisnig yn Nghymru, ein cefnogi yn ein gwaith.

Bellach, dymunwn fendith Duw ar ein holl ddarllenwyr, a'i Ysbryd i arwain y Saint i weithredu yn unol â'i ewyllys, fel y byddont yn teilyngu dyrchafiad yn ei deyrnas. Felly y dywedwn, a hyny yn enw Iesu Grist. Amen.

---

## ANERCHIAD YR APOSTOL J. TAYLOR AT Y SAINT CYMREIG.

### AT OLYGYDD UDGORN SEION.

Anwyl Syr,—Dyma'r drydedd waith i mi ymweled â'r lle hwn, a rhaid i mi ddweyd i mi gael fy moddloni yn fawr yn ystod fy arosiad byr, wrth weled yr onestrwydd, symlrwydd, ffyddlondeb, gwr esogrwydd, a'r haelioni a ddangoswyd gan y Saint Cymreig

y cefais y pleser o'u gweled; ac oni buasai y dyledswyddau ereill sydd yn gorphwys arnaf, buaswn gyda phleser yn ymweled â'r holl Saint trwy eich tywysogaeth. Fel y mae, rhaid i mi gael fy amddifadu o'r pleser hwnw, ac ymfoddloni ar eu hanerch ag ychydig o linellau trwy gyfrwng eich cyhoeddiad.

Dyben yr anerchiad hwn yn yr amser presennol, yw rhoddi ychydig o oleuni ar bwnc ag yr ymddengys fod ychydig o gamddealltwriaeth yn ei gylch. Pan ddaeth y brawd Henshaw i Gymru, fe ddysgodd i'r bobl nad oedd y Saint yn pregethu am gyflog, nac yn duwinyddu am arian, yr hyn sydd yn eithaf gwir; oblegid y mae dyben mwy mewn golwg ganddynt na budr elwa. Eu dyben hwy yw dysgu egwyddorion pur y gwirionedd, cyhoeddi yr efengyl dragywyddol, a gwneuthur yn hysbys yr egwyddorion gogoneddus a fwriadodd Duw er iachawdwriaeth y teulu dynol. Ond tra y maent wrth y gorchwyl pwysig hwn, y mae yn rhaid iddynt hwy a'u teuluoedd gael eu cynnal. Nid yw yr henuriaid, pan yn dechreu pregethu, yn myned yn fodau ysbrydol ac awyraidd, na'u teuluoedd ychwaith; mae yn rhaid iddynt, fel ereill, gael rhywbeth i gynnal eu teuluoedd; a thra y byddont hwy yn gweinyddu i chwi mewn pethau ysbrydol, mae yn iawn i chwithau weinyddu iddynt hwythau mewn pethau tymmorol. Yr wyf yn ymwybodol y gall yr henuriaid feio eu hunain i raddau mawr o achos hyny. Pan ddaeth Capt. Jones i bregethu yn eich plith, cyhuddwyd ef gan ei elynion o geisio arian y bobl y pregethai iddynt; ac er gochelyd y cymmeriad hwnw, ac yntau hefyd yn feddiannol ar ysbryd annibynol, fe redodd i eithafoedd yr ochr arall, yr hyn oedd â thuedd ynddo i gamarwain llawer o'r henuriaid ereill. Pa beth yw y canlyniad? Mae llawer o bobl yn tybied nad oes eisieu cynnaliaeth ar yr henuriaid. Ond a ydyw hyn yn wirionedd? Nac ydyw. Mae yn rhaid iddynt, ynte, naill ai cael modd eu hunain i'w cynnal, bod heb ddim, neu gael eu cynnal gan haelioni personol; a chan mai ychydig iawn sydd yn gallu cynnal eu hunain, maent o ganlyniad yn cael eu gorfodi i ymddibynu ar ychydig o gyfeillion, haelioni pa rai sydd yn cael ei drethu yn ormodol, neu fyned heb ddim, yr hyn sydd yn eu gosod mewn sefyllfa lled gyfyng. Ond efallai y gofynir, a ydych chwi yn beio y bobl? Nac ydwyf; eithr beiaf yr henuriaid am ddysgu y fath egwyddorion, ac y aent hwy yn dechreu teimlo effeithiau eu ffolineb, a chael allan

nad allant borthi na dilladu eu hunain a'u teuluoedd ar awyr. Ond a ydynt hwy yn myned heb ddim? Na, eithr y maent yn agored i lawer o gyfyngderau, ac yn ymddibynu ar nifer fach iawn o gyfeillion, haelioni pa rai a drethir yn ormodol; tra y gellid, pe rhenid y baich yn gyfartal, ei wneyd yn beth rhwydd i bawb. Yr wyf fi yn llefaru yn eofn ynghylch y pwnc hwn, canys y mae pawb yn gwybod nad yw hyn yn perthyn dim i mi, gan fy mod yn llafurio yn Ffrainc. Ond, ai nid ydych chwi yn myned heb bwrs nac ysgrepan? Ydwyf; etto y mae'r Arglwydd yn agor y ffordd o'm blaen yn barhaus, ac yr wyf wedi cael fy niwallu o bob peth ag oedd arnaf eisieu, mewn arian a dillad. Ond pa fodd yr oeddech yn eu cael? Yn gyffredin yr oedd y Saint, trwy wybod am fy sefyllfa, yn diwallu fy anghenrheidiau; ac yn fynych y mae pobl heb fod yn yr eglwys, wedi fy niwallu. Ond fe gefais i bob amser fy niwallu, ac felly y mae eich henuriaid chwithau wedi cael. Yr wyf fi wedi bod yn cael £20 neu £40, ar yr un pryd, gan yr un person; ond yr ydych chwi yn gyffredin yn dlawd, a phwy a all hebgor hyny? ond yr wyf yn sicr na ewyllysiech chwi i'ch henuriaid ymddibynu ar y byd. Pan fyddo henuriaid yn aberthu eu holl amser at y weinidogaeth, rhaid iddynt gael eu cynnal; a gellir gwneuthur hyny yn rhwydd trwy gydymdrechiad, a dim neb yn cael ei niweidio. Gwnaed y diaconiaid, ynte, eu dyledswydd, gan ddysgu yr egwyddorion hyn i'r rhai hyny ag y mae Duw wedi eu gwneuthur yn arolygwyr arnynt; a boed i'r holl henuriaid daflu eu ffolineb o'r neilldu, a chynnorthwyo y diaconiaid yn eu hymdrechiadau; ac yr wyf yn sicr fod ysbryd haelioni yn mhlith y bobl, yr hwn a fydd yn ateb i'w galwadau, ac yn eu cynnorthwyo yn eu cyfyngderau. "Undeb yw nerth," a'r hyn sydd yn anhawdd i ychydig sydd yn rhwydd i lawer.

Dymunaf sylwi fy mod yn cael fy moddloni yn fawr yn Llywyddiaeth Cymru, ac yn y drefn sydd ar bethau. Mae y brawd Phillips yn ddyn da, a'i gynghorwyr yr un modd; a gallaf sylwi fod gan y brawd Phillips lawer o ymwelwyr o bob cwr o Gymru i'w bwyda, heblaw yr holl draul sydd yn myned wrth deithio i gyflawni ei ddyledswyddau, yr hyn a raid gael ei ddarparu o rywle. Frodyr, bendithiwch ef; ac wrth wneuthur felly, fe fyddwch yn bendithio eich hunain.

Dywedaf hefyd wrth y swyddogion a'r aelodau, cynnaliwch i

fyny eich cyhoeddiad, mor bell ag y mae yn eich gallu, a chaffed sain yr UDGORN ei glywed o'r gogledd i'r deau, a'i ddadseinio o fynydd i fynydd, a chaffed y bobl yn mhob pentref a thref wybod fod Saint y Dyddiau Diweddaf yn byw wrth sŵn y *corn*. Nid oes anghen crybwyll am yr *Athrawiaeth a'r Cyfammodau* yn Gymraeg, gan y bydd yr holl Saint yn ei werthfawrogi. A thra y byddoch yn cynnal yr holl bethau hyn trwy eich haelioni, gadewch i mi erfyn rhan yn eich gweddiau ar ran Ffrainc, fel y byddo goleuni, gwirionedd, a gwybodaeth yn myned ar gynnydd, a gallu Duw yn cael yr oruchafiaeth.

Gwn nad oes eisieu ond yn unig enwi y pethau hyn, er eu cael mewn gweithrediad. Frodyr, yr wyf yn gweddio ar i fendithion Duw Abraham, Isaac, a Jacob, eich dilyn o hyn allan hyd byth.

Yr eiddoch yn y cyfammod tragywyddol,

*Merthyr-Tydfil, Rhag.* 30, 1850. JOHN TAYLOR.

O.Y.—Tra yn sylwi ar y pethau blaenorol, goddefer i mi ddweyd, os bydd rhywrai o'r brodyr yn teimlo yn eu calon i roddi pump, deg, neu ugain punt, er cynnorthwyo cyhoeddi Llyfr Mormon yn Ffrainc, bydded iddynt eu danfon i'r brawd Phillips, a gwna yntau eu danfon i minnau. J. T.

---

## TESTAMENT Y DEUDDEG PATRIARCH, SEF MEIBION JACOB;*

*At yr hwn yr ychwanegwyd Epistol Paul yr Apostol at y Laodiceaid, ac hefyd mewn perthynas i Farwolaeth Paul yn Rhufain, dan Nero.*

[Cyfieithedig o'r Groeg gan y diweddar Barch. R. Grosthead, esgob Lincoln.]

---

### AT Y DARLLENYDD.

ER ein dedwyddol ddyddiau hyn, Gristion da, dderbyn a mwynhau mewn mesur, aml, ac amryw weithredoedd yn gofalu am, ac yn tueddu at ddadymchweliad Belial, a dyrchafiad duwioldeb; etto, ystyried hyny yn ddaearol, yw yr achos ein bod ni, filwyr

* Ar ddymuniad llawer o'n darllenwyr, yr ydym yn cyhoeddi y llyfr dyddorawl uchod yn yr UDGORN, allan o hen gyfieithad Cymreig, a gwnawn ei barhau nes ei gorphener. Mae copi o hono yn y Groeg, ar femrwn, yn nghadw yn y brif ysgol yn Nghaergrawnt. Cawn gymharu y Cymraeg a'r Saesneg, a gwneyd y diwygiadau angenrheidiol. Hysbyswn ein barn am dano rywbryd etto.—GOL.

ysbrydol, yn anfynych yn rhedeg i'r wyliadwriaeth heb alarwm; mi a dybiais yn gymmesur alw arnoch â'r llyfr difrifol a duwiol hwn, a fu yn hir o amser yn guddiedig yn Hebraeg, ond yn awr a ddaeth i'r goleu yn Gymraeg.—Malais yr Iuddewon yn ei guddio, o herwydd fod ynddo mor aml ragddangosiad o Grist y Cyfiawn, yr hyn oedd anesmwyth iddynt hwy; eithr unig ragluniaeth yn ei amddiffyn yn annhraethadwy, ac yn y diwedd, er mai costus fu, etto ffrwythlawn yw'r gosodiad a'r argraffiad o waith mor deilwng yn ein naturiol iaith ein hunain. Ysgrifen oreuraid, yr hon o honi ei hunan, heb ychwanegu ati baentiad o ddoethineb ymadrodd, sydd ddrych i dywysogion, pregethwr i Gristionogion oll—hardd ddrych i wragedd, i blant, i weinidogion, a'r cyfryw; doeth a chymmeradwy athraw, parod i dueddu at bob cyflwr arbenig i briodoliaeth pennodol. Ai tywysog wyt ti? gad i Judah dy reoli; os meddwl yr wyt am nerthol wroldeb, mae efe yn dysgu gwreidd-dra; os chwennych cyfiawn lywodraethu yr wyt, efe a fynai i ti ochelyd creulondeb; os sychedu yr wyt ar ol arferion y bywyd, mae efe yn cyhoeddi mai gwag-ogoniant, godineb, amryfusedd, beiau, gwendid, sydd yn y diwedd yn llwyr ddadwneuthur ardderchogrwydd. Gad i mi fyned yn mlaen a gofyn i ti gwestiwn; Ai esgob wyt ti? Ai gweinidog, pregethwr o enedigaeth Crist, ei fywyd a'i farwolaeth? edrych ar Lefi megys llusern, ti a fedri ddysgu dy hunan, eithr efe a fedr dy ddysgu di yn well; ydwyt ti yn llefaru wrth arall, gwrandaw ar yr hwn sydd yn llefaru wrthyt ti, mewn perthynas i'th ddyledswydd dy hunan, mor santaidd yw, mor anrhydeddus, ac mor druaned yw ei ddirmygwyr ef. Chwi rieni, edrychwch ar Jacob, a'r deuddeg tadau duwiol; mewn amser a threfn, dysgwch ganddynt hwy weddio dros eich plant, at Dduw trwy Grist; cymmerwch addysg o'u hathrawiaeth hwy: "Taer weddi y tad dros y plant at yr Arglwydd, sydd aberth gymmeradwy o'i flaen ef; eithr yr hwn o ynfyd dosturi sydd yn gadael ei blant i'w rheolaeth eu hunain, a gyfrifir gerbron Duw yn euog gyfranog o'u gyrfa bechadurus hwynt:" o ran hyny edrychwch y llyfr hwn, ymwrandewch pa fodd i'ch dysgu eich hunain a'ch plant hefyd; chwi a deimlasoch eisoes eli y gwr claf, meddienwch weithian ddefod y gwr claf, i'w dysgu hwynt pan yr ymadawech â hwy, a pha beth i'w adael iddynt, pan fyddech yn marw, onide, eu diwedd hwynt a fydd galarus, a'ch diwedd chwithau a fydd galarus drueni. Deuwch chwi yma, chwi blant y ddaearen, darllenwch a gwelwch yr hen dad hwnw, Reuben, gyda ei ddaionus frodyr, yn barod ac yn union, copïwch allan fendigedig lwybrau cyfiawnder, a gwrthodedig lwybrau Belial, y naill i'w ochelyd, a'r llall i'w ddilyn; A ddechreu di gyda'r hynaf, o herwydd yr hen oesoedd a ymddangosodd yn ddoethaf? Am hyny na stopia glustiau dy galon, na'th gorff, rhag gwrando ar lais rhinwyr mor ddoeth, ac mor felys. O! y rhifedi a'r hyll ymddangosiad, sydd o'r ysbrydion meirwon hyny, a rifodd efe mewn trefn, Anlladrwydd, Cenfigen, Glythineb, Gwychder, Balchder, Gwag-ogoniant,

Anghyfiawnder, Styfnig-anwybodaeth. Y rhai'n oll fel eu gwelir, ydynt angeuol; eithr y cyntaf sydd fwyaf ffiaidd, diwedd yr hwn yw dystrywiad y corff daearol, a'r enaid tragywyddol; yr hwn ffynnon a phwll o ddrygioni, os myni ei sychu i fyny, ymgadw oddi wrth feddwdod: na fydded genyt lygad gwammal, chwannog i edrych ar degwch wyneb; attal dy enau rhag geiriau prysur wrth ferched, oni fyni yn y drwg soddi; ymarfer i lafurio, dofa ieuenctyd. "Myfi yn saethu dros fy mhen fy hun (medd Reuben wrth ei blant) a halogais wely fy nhad; am hyny nac edrychwch ar degwch merched, na ymfyfyriwch ar eu gwaith hwynt; cedwch eich hunain yn dysgu neu yn gweithio; gorchymynwch i'ch gwragedd a'ch merched, yn mherthynas gwisgiad eu penau; perwch iddynt gospi eu golygon, o herwydd pob un ag sydd yn ymddwyn yn dwyllodrus yn y pethau hyny, sydd yn nghadw i boenau y dydd sydd i ddyfod." Yr hon fuchedd, gan fod mor anhawdd ei gochelyd heb gyflawniad o'r gyfraith, a'r gyfraith mewn rhan sydd yn sefyll mewn cariad cyfnewidiol. Ymdrechwch gyda Simeon, yr ail frawd, i ochelyd Ymrysonedd, yr hwn sydd yn dallu y meddwl, yn difa y corff, ac yn annog llofruddiaeth, amddiffyniad pa un yw maddeu neu anghofio. Cymmer atat lawen bryd Joseph gyfiawn, prysur, sefydlog, a llonydd feddwl, etto gosod Simeon o flaen dy lygaid a'i law wyfedig, cyfiawn wobr am y cyfryw bechod, i ochelyd yr holl aflonyddwch a'r drwg hwnw; cofia Juda, casgl brofiad oddiwrtho ef, Mai pechadurus yw i ddyn ymffrostio yn ei weithredoedd ei hun, yr hwn a edliwio i arall ei drosedd, sydd yn sefyll ei hun mewn lle llithrig: Juda edliwiodd i'w frawd hynaf (Reuben) ei odineb, ond pwy yn y man a bechodd, onid y cenfigenus a'r chwerylus Juda? Oni thramgwyddodd efe yn ol y cnawd yn nhy y Canaanead? Oni chymmerodd efe wraig heb undeb ei rieni? Dau bechod mawr, arferedig yn ein dyddiau ni, etto cospwyd y naill bechod â diffyg, neu o'r hyn leiaf ag ychydig lawenydd o herwydd plant, medd y tad Juda y patriarch; A'r llall ag anesmwyth berygl o gorff ac enaid, medd St. Paul: Am hyny ymgedwch oddiwrth win, a chasewch feddwdod, canys y cyfryw nid yw yn enllibo, nac yn lliwiad i ereill eu pechod; nid yw yn magu anghydfod, eithr yn cofleidio cariad mewn calon syml, megys y tad da Issachar, yr hwn erioed nib enllibodd, nid oedd niweidiol nac ysgornygus i'w gymmydogion, nis bwytai efe ei fara ei hunan heb roddi rhan i'r tlawd, nis newidiai efe derfynau tir un dyn, eithr yn caru pawb megys ei blant naturiol ei hun. O, na bae i ni, megys ag y darllenwn ni am hwn, osod allan yr unrhyw yn ein buchedd a'n hymarweddiad; trugaredd a chariad sydd berl gwerthfawr, ceidwad y rhai'n wedi eu cyduno a lwydda, eithr os gwasgarant, daw colled, o herwydd Zabulon sydd yn dywedyd, "Pan ollynger yn rhydd y coed a'r ceryg, y dwfr a olcha ymaith y tafod;" yr hwn am ei drugaredd a'i dosturi, a gafodd ei wobrwyo yn rhagorol: chwiliwch ei lythyr cymmun ef, cyffelybwch ei ragorol gariad ef yn dilladu y noeth, yn porthi y newynog, yn cystadlu y dyeithr a'i

gymmydogion: Na adewch i ysbryd Dan feddiannu eich meddyliau, na adewch i ddigofaint Gad sefydlu yn eich calonau, o herwydd y cyfryw waith gyda thri o'i ddrwg offerynau ef, ymadrodd chwerw, twyll, llaw orthrymedig, yn dwyn ffrwyth nid annhebyg megys y gellwch ddarllen a gweled; a fynit ddysgu yr union lwybr at y peth yr ydwyt yn ei geisio? "Dwy ffordd sydd (medd Aser), un yw rhinwedd dda, a'r llall yw drygioni." Gochel yrfa gyntaf Naphtali, eithr amgyffred yr ail; ond yr hwn a rodio yn y ddwy, sydd yn dallu dynion, yn ei dwyllo ei hunan, ac yn gwatwor Duw; twyllodrus ddeiliaid pa rai a gânt ddyblu eu poenau, y cyfryw yw'r cybyddion, a'r trugarog wrth ddrygioni; y cyfryw yw (medd Aser) y rhai a ymprydiant oddiwrth fwydydd, ac nid oddiwrth anlladrwydd; am hyn, bydded genyt galon syml gyda Joseph gyfiawn, bendigedig yr Arglwydd, yr hwn oedd wir arwydd o Grist Iesu; ac i'w gâs y dangosodd gariad; pan felldithid, efe a fendithiai; pan saethwyd ef drwyddo, ni wnaeth efe gymmaint ag anelu ei fwa; er y mynai ei frodyr ei ladd ef, er iddynt ei daflu i'r pwll, er iddynt ei werthu ef yn gaethwas i ddyeithriaid, y rhai a gasaent fugeiliaid hyd angeu, gan ba rai y fflangellwyd ac y cystuddiwyd ef; etto, pan oeddynt hwy mewn ofn, efe a'u cysurai hwynt; pan oeddynt yn mron trengu o newyn, efe a roddai iddynt luniaeth; pryd trwy ei awdurdod y gallasai efe eu dystrywio, yr oedd efe trwy awdurdod yn eu hamddiffyn; ac efe yn arglwydd arnynt, etto yn eu trefnu hwy megys pe b'aent well nag ef,—yn frawd iddynt, yn eu cymmeryd megys pe b'aent blant iddo, heb sôn am eu hanghariedigrwydd hwynt; anghofio eu bradwriaeth hwynt, yn gariadus, ac yn drugarog yn maddeu eu creulondeb hwynt; chwi a glywsoch ei gariad ef at ei gymmydog, gwrandewch ei ufydd-dod i Dduw. Pan oedd efe mewn caethiwed truenus, a ffrewyllodd efe a chwyddo? Pan wnaed ef yn gaethwas, o fab i wr rhydd, a lefodd efe allan yn erbyn y nefoedd, ei bod gwedi ei lwyr adael? A achwynodd efe yn ddiamyneddgar yn erbyn cyfiawnder yr Arglwydd? Naddo, eithr gan ddysgwyl, efe a ddysgwyliodd wrth yr Arglwydd; a'r Arglwydd, yr hwn a ymguddiasai oddiwrtho, a ddangosodd ei wynebpryd iddo, ac a'i cyfododd o'r bri gwaelaf mewn edrychiad, yn wr rhydd, yn gyfoethog, yn oludog ddeiliad, yn wr anrhydeddus, yn rhaglaw ar holl wlad yr Aifft; yr hwn yn ei fywyd a gerid gan yr Aifftiaid, ac ar ol ei farwolaeth hefyd; yr hwn ni wnai na chyfoeth na thrueni iddo ymchwyddo, nac addewidion na bygythion yr Aifftes buteinig iddo lithro; ar ol ei farwolaeth, nid oedd na'r byd na'r cythraul, na dichell ddynol, yn gallu peri ei anghofio ef. O, na byddai i'n gyrfa farwol ninnau ddechreu a diweddu fel hyn; ïe, fel hyn, O Arglwydd, diwedded yn ddedwydd. "Yr ysbryd sydd barod, eithr y cnawd sydd wan." Dysg gan hyny wrth Benjamin, fod dy galon yn ennynu, i fod yn barod mewn enaid a chorff. "Gadewch i ni ganmawl (medd y pregethwr), gadewch i edrych ar yr ardderchog glodfawr wyr, ac ar genedlaethau ein hynafiaid, o herwydd llawer o weithredoedd

cledfawr a weithiodd yr Arglwydd ynddynt hwy, ac a ddangosodd ei fawr allu er y dechreuad." Yr hyn wrth ei ystyried, ac yn unig am na ewyllysiwn fod dim yn ddiffyg yn y llyfr hwn, a fa'i er boddlonrwydd i ti, mi a dybiais mor addas ddelio â'r tad cyfiawn, a'r plant duwiol, o herwydd llunio wyneb yn unig heb gorff, sydd a'i glod fel yr haeddo; yr hwn a baentio goes heb gorff, neu gorff heb ben, sydd mor addas i'w alw yn ffol, ag yw y peth i'w alw yn anghall ei wneuthuriad, o herwydd mai cystal gweled y pen a'r goes, a chlywed y tad a'r plant; myfi a dynais allan o'r Ysgrythyr, ac nid yn ol fy nhyb neu fy ffansi fy hunan, farwolaeth Jacob, a'i Destament, y bendigedig gyfiawn dad dedwydd, i'w hychwanegu at yr hen goffadwriaeth yma o'i blant ef; am hyny, i dalu am fy mhoen, darllen hwynt yn ddiwyd, ac nid eu darllen yn unig, eithr ymfoddloni i'w dilyn; canys dilyn gwyr da duwiol, yw'r llwybr hyfforddi i dduwioldeb, fel y gallwn gyfrif o fendith Jacob; ac felly y gallwn hollol hawlio ein bod yn blant, nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd. R. G.

(*I'w barhau.*)

---

## "NATUR GWYRTHIAU."

### AT OLYGYDD SEREN GOMER.

SYR,—Yn gymmaint â bod eich Cyhoeddiad yn un rhydd, ac yn barod i roddi lle i ysgrif amddiffynol ar ryw bwnc cyhoeddus, tra na fyddo dim personol yn cael ei drin, yr wyf yn teimlo awydd ynwyf yn bresennol i wneyd rhai sylwadau ar ysgrif eich gohebydd o Dalywaen, yn y *Seren* ddiweddaf, mewn perthynas i "Natur Gwyrthiau." Y mae efe yn ddyn ag sydd wedi enwogi ei hun yn ddiweddar trwy ei draethodau ar Ddylanwadau Ysbrydion Syrthiedig, &c.; ac os na wneir ymdrech i chwalu tipyn ar ei ddernyn hwn, ystyrir ef yn anwrthwynebol gan lawer, fe ddichon.

Y mae Dewi yn dechreu ei ysgrif fel Cristion ffyddiog, y fath ag oedd Crist bob amser yn garu. Dywed nad yw efe ei "hun yn gweled yr anghenrheidrwydd o gyflawniad gwyrthiau yn ein dyddiau ni, i'r dyben o brofi geirwiredd y Grefydd Gristionogol; canys y mae yn ei chredu yn ddiammheuol, yn ol tystiolaeth y Testament Newydd, heb weled un wyrth." Hoffai Paul gynt i gael gafael ar ddynion tebyg i hwn, yn lle y cyfryw ni chredent trwy ei bregethu, ond a fyddent yn gofyn *arwydd* a doethineb. Ond na chanmolwn ein gohebydd yn rhy fuan, canys y mae efe yn ammau yn y llinellau canlynol, ai nid yw yn anghenrheidiol, gan fod cynnifer o gangenau o Gristionogaeth yn ein dyddiau ni,

i gael gwyrth er profi pa un o honynt sydd wedi ei sylfaenu ar dystiolaeth Crist, yr efengylwyr, a'r apostolion. Ymddengys fod Dewi wedi myned i ychydig o gyfyngdra yn y man hwn. Wedi sicrhau yn flaenorol ei fod yn credu crefydd y Testament Newydd, heb weled un wyrth, y mae efe yn cael ei hun wedi ei amgylchu gan laweroedd o grefyddau, ac i gyd yn proffesu mai crefydd y Testament Newydd sydd gan bob un. Y mae Byron yn dweyd—*Some millions must be wrong.* Gallwn ninnau ddweyd, ac ond odid na chyduna ein gohebydd â ni hefyd—*But one must be right.* Ond, er fod un yn iawn, y mae Dewi, gan fod llawer yn gyfeiliornus, yn gweled fod eisieu arwydd er profi fod yr un iawn yn iawn. Y mae Saint y Dyddiau Diweddaf yn cynnyg i'r byd yn awr yr hyn a gynnygiodd Crist gynt,—"Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys ef [Duw], efe a *gaiff wybod am y ddysgeidiaeth*, pa un ai o Dduw y mae hi, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru" (Ioan vii, 17). Nid oes neb o'r enwadau ereill yn gallu cynnyg y fath beth. Dadleu yw yr unig ffordd sydd ganddynt hwy i ddyfod i wybodaeth o'r gwirionedd. Yr oeddid yn ceisio arwydd gan Paul i brofi gwirionedd ei genadwri; felly y ceisir gan Saint y Dyddiau Diweddaf yn awr: ond credir fod y rhan fwyaf o enwadau yr oes hon, er mor wahanol i'w gilydd, yn ddigon gwir, heb geisio un arwydd. Pe buasent yn pregethu yr un efengyl â'r apostolion, a yw yn debyg y buasai y byd yn ymfoddloni heb gael arwydd? Gan mai gan y Saint yn unig y ceisir arwydd er profi bod eu crefydd o Dduw, y mae yn dra naturiol i benderfynu mai eu crefydd hwy yw yr un fwyaf tebyg i eiddo yr apostolion. Y mae Mr. Gwilym ab Dewi, debygaf, yn gweled hyny; a cheir ei glywed yn nechreu ei ysgrif yn gofyn am arwydd. Y mae eisieu arno gael gan ryw rai o "*brophwydi*" y Seintiau, pan yn ymweled â'i gymmydogaeth, "os byddant yn cael ar eu meddwl," i gyflawni gwyrth, trwy borthi pum mil, heblaw gwragedd a plant, â phum torth a dau bysgodyn (ar ei draul ef ei hun), a gadael deuddeg basgedaid o friw-fwyd yn weddill. Os byddai hyny i gael ei wneyd, buasai yr hwn nid "yw yn gweled yr angenrheidrwydd o gyflawniad gwyrthiau yn ein dyddiau ni, i'r dyben o brofi geirwiredd y grefydd Grisdionogol," yn *meddwl* y buasai "yn amlwg mai hwy sydd wedi adeiladu ar sail y prophwydi a'r apostolion." Ond, o'r ochr arall, medd ein gohebydd, os na chaent y Gallu Hollalluog i

weithredu drwyddynt er cyflawni y wyrth, y gellid eu rhestri dan y cymmeriad o au-gristiau a gau-athrawon. Dyma gynnyg teg, onide? Ond gadewch i ni ymholi fel hyn:—Ai tybied, pe buasai Mr. Gwilym ab Dewi yn gydoeswr â Christ, a phe buasai yn gofyn ganddo am arwydd fel hyn, y cawsai ei ddymuniad? A gafodd y diafol arwydd ganddo yn yr anialwch? A brophwydodd efe pwy oedd yn ei gernodio, er profi ei fod o Dduw? A ddisgynodd efe oddiar y groes i brofi ei hun yn Fab Duw? A ddywedodd efe mai cenedlaeth ddrwg a godinebus sydd yn ceisio arwydd, ac na fuasent hwy yn ei chael? Nid oes eisieu ateb y pethau hyn, canys y maent yn hysbys i bawb. Er hyny oll, y mae Dewi yn penderfynu, pe methent wneyd y wyrth, y "gellid eu rhestri, ar dir teg a rhesymol, fel yn llanw y cymmeriad o au-gristiau a gau-athrawon." Ar yr un tir hefyd gellid rhestru yr apostolion, pan fethasant fwrw allan yr ysbryd mud a byddar hwnw, yn au-gristiau, &c. (Marc ix.) Yr oedd gallu wedi ei roddi i Paul i iachâu; etto, y mae yn cynghori Timotheus i "ymarfer ychydig win er ei fynych wendid;" ac y mae yn gadael Trophimus yn glaf yn Miletum. Gwelir wrth hyn fod Duw yn cyfranu ei ddoniau gwyrthiol, fel y mae efe yn ewyllysio, ac yn ol ffydd ei blant; ond nid yw wedi awdurdodi ei blant i foddloni ceiswyr arwyddion, ac nid yw eu Blaenor wedi rhoi un siampl o hyny. Mewn perthynas i au-gristiau a gau-athrawon, mae yn wir fod Crist a'i apostolion yn rhag-ddywedyd am danynt, ond y mae mor wir â hyny, nas gall *gau*-gristiau gyfaddef Crist y Testament Newydd yn wir Grist, onide byddant yn egluro eu hunain. Mae y Seintiau yn credu yn yr un Crist â Gwilym ab Dewi: nid hwy, ynte, yw y gau gristiau. Pan yr oedd Crist yn mynegi y byddai twyllwyr fel hyn yn gwneuthur arwyddion a rhyfeddodau, "hyd oni thwyllent, pe byddai bosibl, yr etholedigion;" yr oedd hefyd yn dywedyd y byddai arwyddion yn canlyn ei gredinwyr ef; ac yn unol â hyny y mae yn eu rhybyddio i fod ar eu gwyliadwriaeth rhag yr arwyddion gau. Nid oes eisieu cadw at gynghorion ein Harglwydd ynghylch yr arwyddion gau ar yr enwadau yn yr oes hon, gan nad oes arwyddion o un math i fod, meddant hwy; ac o ganlyniad, os dygwydd i rai gael eu gwneyd, nid oes modd iddynt gael eu twyllo. Mae y gwaith sydd gan grefyddwyr yr oes hon yn fach iawn mewn cymhariaeth i eiddo y rhai cyntefig. Yr oedd ganddynt hwy

waith i "brofi gau apostolion (Dad. ii, 2), gau brophwydi, ysbrydion," &c.; ond yn awr, nid oes cyfleusdra i'r tylwyth hyny i ymrithio yn debyg i neb, canys nid oes apostolion na phrophwydi i fod yn yr eglwys. Geill ysbrydion drwg ymrithio fel y mynont yn awr, y mae yn haws ddigon i'w hadwaen, canys nid oes neb yn derbyn un math o ysbryd da. Yr oedd gan y rhai gynt waith hefyd i ofalu na dderbynient un athrawiaeth arall ond yr hon a draddodwyd iddynt gan yr apostolion; ond gellir dewis yr athrawiaeth a fyner yn awr, ac er bod yn groes iawn i'w gilydd, y maent oll yn ol dysgeidiaeth Crist, ac yn sicr o dywys i'r bywyd!—Yn ngwyneb y sylwadau blaenorol, y mae yn ymddangos yn eglur fod Saint y Dyddiau Diweddaf o Dduw, neu mai twyllwyr ydynt; ac nad yw gwahanol sectau yr oes hon o Dduw, nac ychwaith yn dwyllwyr. Maent yn tebygu i'r rhai a ddarluniai yr Apostol a fyddai "ganddynt rith duwioldeb, ond wedi gwadu ei grym hi," ac yn "pentyru iddynt eu hunain athrawon, ond heb ddyfod un amser i wybodaeth." Yr oedd y crefyddwyr gynt yn *gwybod* fod eu crefydd yn wir, ac nad allasai un arall fod yn iawn; mae y Saint yn awr yn gwybod yr un fath; ond ni all gwahanol sectau yr oes, ond "*credu* yn gydwybodol."

(*I'w barhau.*)

---

## LLYTHYR CAPT. D. JONES AT YR HENURIAID W. PHILLIPS A J. DAVIS.

*Dinas y Llyn Halen, Medi* 10, 1850.

ANWYL FRODYR W. PHILLIPS A J. DAVIS,—Hyd yn awr, yn fy myw, ni chefais gyfle i'ch anerch, nad faint fy awydd, er pan ysgrifenais o'r blaen; ac yn awr, byr eiriau yw fy nghân, o herwydd fy mod ar *gychwyn etto* oddiyma yn mhellach i wladychu, sef i ddyffryn *Sand Pete*, a hyny yn ol cynghor y Llywydd Young i mi, a chynnifer o'r brodyr Cymreig ereill ag a allant ddyfod. Nis gwn etto pwy a ddaw. Mae y lle hwn yn wlad wych i gyfanneddu, a llawnder o ddwfr a choed yn gyfleus. Mae yn gorwedd tua 130 o filltiroedd oddiyma. Buom drwyodd yno y llynedd, pan yn chwilio am y Madociaid, a byddaf gymmaint â hyny ar fy ffordd i gwblhau yr anturiaeth hono etto, yr hyn beth, os Duw a'i myn, mi a wnaf cyn y gorphwysaf. Nid oes genyf amser i ddweyd nemawr am y lle hwn na'i helyntion, eithr anfonaf i chwi y "Deseret News" a gyhoeddir yma i wneyd ei ran o hyny droswyf.

Ni chefais ond un llythyr bach oddiwrthych er pan adawais Gymru, nac oddiwrth neb arall yna, hyd nes y daeth y mail i

mewn, yn ddiweddar iawn; a doe derbyniais yr UDGORN am y flwyddyn ddiweddaf. Ni allaf ddesgrifio fy nheimladau wrth gydio mewn llyfr a ddaeth o ddwylaw fy mrodyr anwyl yn y wlad hoff a adewais; dyga i'm cof lu o bethau a aethant heibio! ond pan dorais ei ddalenau, ac y rhuthrodd fy ngolygon dros ei dudalenau, a gweled enwau cynnifer o'r brodyr a garaf mor fawr yn dyscleirio drwyddo, megys *diamonds* yn mhlith ceryg glân y môr,—yn profi eu bod hwy etto yn ddiwyd ar y maes, yn ffyddlawn yn ngwinllan eu Harglwydd, yr hon sydd o'm planiad fy hun. Y mae llinynau fy nghalon yn mron tori gan hiraeth am eu gweled, am siglo dwylaw unwaith etto; ïe, am eu cwmni yn dragywyddol. Ni allaf fod yn gyflawn ddedwydd hebddoch oll, y rhai a gerais gymmaint; ac etto, yn lle dychwelyd i wledda yn eich cwmni, ac i gyd ryfela ysgwydd yn ysgwydd â chwi yn myddin Iesu yna, gwela Ef yn oreu yn awr fy anfon yn mhellach fyth! Wel, boddlawn wyf; ei ewyllys Ef a wneler, medd fy enaid, boed a fyddo.

Etto, O frodyr anwyl yn yr offeiriadaeth, beth a ddywedaf wrthych un ac oll er eich cysuro? Hyn a wyddoch, eich bod yn weision, fel finnau, i'r Iesu mawr, ac ei fod yn dysgwyl i bob un o honom lanw y cylch ein gosodwyd ynddo; ac Efe a'n galw ynghyd rywbryd i roddi i fyny ein cyfrif. Wel, anwyl frodyr a phlant yn Nghrist, mynwch ymddangos yno yn llawen. Cofiwch yr hyn a ddywedais wrthych tra yna, a gwnewch; ac felly Duw ein Tad a'ch bendithia byth bythol. Yr oeddwn bron dweyd, cusanwch fy anwyl gyd-lafurwyr yna: beth arall a ddywedaf wrthynt i arddangos fy serch atynt? Etto, ni byddai hyny ddim. Ni allaf gael amser na lle, hyd y nod idd eu henwi; y maent yn rhy liosog. Ewch yn mlaen, anwyl Saint; y mae coronau o'ch blaen, a bywyd tragywyddol i'w gwisgo. Breuddwydiais yn ddiweddar fy mod yn mhlith llonaid ystafell o honoch mewn cynghor, ac yn cofleidio fy anwylaf frodyr W. Phillips a J. Davis yn ddiddarfod a melys odiaeth! O, y fath nefoedd oedd i mi, eithr breuddwyd oedd! O, dysgwch y Saint anwyl yn dyner, mewn cariad, y ffordd i gadw cynghor Duw. Diolch i'm Tad am ateb fy ngweddiau ar eich rhan. Cofiwch fi at Howells anwyl a'i deulu yn serchus; yr Arglwydd fo gydag ef a'i deulu, yw fy ngweddi barhaus. Cofiwch fi at bawb o'r Saint; mae fy ngwraig a Claudia fach yn iach, ynghyd â'r gweddill o'r Cymry. Cofiwch fi a'm teulu yn garedig at fy mrodyr John ac Edward, a'm perthynasau. O, na fyddent hwythau yma; gweddiaf ar eu bod oll yn Saint ffyddlawn, beth bynag. Clywais nad yw A. Evans yn dyfod yma eleni, eithr ei fod yn aros yn Council Bluffs. * *

Mae yr heolydd yma yn wynion o hyd o wageni llwythog o ymfudwyr. Maent megys colomenod yn dod i'w ffenestri o bedwar cwr y byd. Nid yw yr afiechyd a fagodd ar fy ysgyfaint, drwy waith caled yna, wedi iachâu nemawr etto. Saint anwyl, cofiwch am, a gweddiwch dros, eich gwas gwael, yr hwn a'ch gwasanaethodd chwi braidd hyd angeu; ac er ei fwyn, byddwch

ffyddlawn a diwyd yn ngwaith Duw. Cawsom gymmanfa ragorol yma yr wythnos ddiweddaf, ac y mae pob peth yma yn llwyddiannus a rheolaidd rhyfeddol, canys y mae llywydd medrus wrth y llyw, a llawnder o gynnorthwywyr. Nid allaf gael cyfle yn awr i ysgrifenu hanes fy nhaith i'r deau y ganaf diweddaf; cewch hyny mor gynted ag y gallaf. Cewch hanes Cymry Council Bluffs gan y brawd W. Morgans. Croesaw iddynt i gyfanneddu y tir a brynais yno er eu mwyn. Bellach, rhaid terfynu; frodyr, dyma i chwi eich trioedd fy serch a'm calon byth bythol. Amen.

D. JONES.

---

## MYNEGIAD Y CYNNADLEDDAU YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG, AM YR HANNER BLWYDDYN YN DIWEDDU RHAG. 1850.

| *Cynnadleddau.* | *Cang.* | *D.* | *A.* | *Hen.* | *Off.* | *Ath.* | *Di.* | *Tor* | *Mar.* | *Ymf.* | *Bed.* | *Oll.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Llundain............ | 52 | 0 | 0 | 123 | 142 | 96 | 64 | 108 | 5 | 10 | 753 | 2990 |
| Manchester .......... | 29 | 0 | 1 | 96 | 162 | 86 | 35 | 106 | 16 | 36 | 248 | 2875 |
| Birmingham......... | 18 | 2 | 0 | 90 | 96 | 70 | 36 | 61 | 11 | 13 | 360 | 2213 |
| Sheffield ............ | 34 | 2 | 0 | 69 | 111 | 71 | 41 | 97 | 9 | 33 | 382 | 2162 |
| South Conference.... | 25 | 0 | 0 | 35 | 90 | 44 | 36 | 48 | 5 | 5 | 257 | 1135 |
| Herefordshire ....... | 27 | 1 | 0 | 79 | 65 | 52 | 22 | 19 | 2 | 23 | 123 | 1010 |
| Liverpool .......... | 8 | 0 | 0 | 44 | 57 | 23 | 20 | 32 | 10 | 27 | 203 | 946 |
| Bedfordshire ........ | 26 | 2 | 0 | 45 | 59 | 27 | 24 | 27 | 7 | 65 | 128 | 908 |
| Warwickshire......... | 22 | 3 | 0 | 57 | 53 | 41 | 21 | 25 | 2 | 19 | 140 | 879 |
| Cheltenham ........ | 21 | 1 | 0 | 49 | 37 | 33 | 18 | 31 | 4 | 14 | 104 | 820 |
| Bradford ............. | 19 | 0 | 0 | 47 | 67 | 34 | 15 | 19 | 7 | 9 | 87 | 800 |
| Norwich ............. | 15 | 0 | 0 | 41 | 50 | 28 | 15 | 29 | 2 | 0 | 94 | 624 |
| Staffordshire ........ | 14 | 0 | 2 | 48 | 47 | 26 | 15 | 44 | 2 | 4 | 54 | 587 |
| Newcastle-on-Tyne .. | 13 | 0 | 1 | 45 | 34 | 15 | 13 | 12 | 2 | 8 | 37 | 463 |
| Lincolnshire ........ | 13 | 1 | 0 | 20 | 32 | 26 | 7 | 17 | 1 | 55 | 122 | 457 |
| Derbyshire ........... | 13 | 1 | 0 | 36 | 24 | 22 | 16 | 23 | 0 | 0 | 56 | 452 |
| Preston ............ | 6 | 1 | 1 | 37 | 28 | 17 | 1 | 2 | 3 | 0 | 12 | 450 |
| Southampton........ | 10 | 0 | 0 | 15 | 18 | 11 | 5 | 15 | 0 | 1 | 114 | 444 |
| Worcestershire ...... | 11 | 0 | 0 | 25 | 24 | 9 | 9 | 5 | 3 | 3 | 25 | 343 |
| Clitheroe............ | 10 | 0 | 1 | 23 | 29 | 18 | 12 | 21 | 3 | 0 | 15 | 348 |
| Hull ................ | 6 | 0 | 0 | 18 | 17 | 9 | 7 | 17 | 2 | 13 | 53 | 321 |
| Dorsetshire........... | 5 | 0 | 1 | 7 | 10 | 11 | 9 | 12 | 5 | 19 | 23 | 283 |
| Leicestershire........ | 5 | 2 | 0 | 11 | 18 | 7 | 5 | 21 | 3 | 0 | 16 | 276 |
| Shropshire .......... | 10 | 1 | 0 | 10 | 13 | 5 | 8 | | | | | 182 |
| Carlisle ............. | 5 | 1 | 0 | 20 | 8 | 8 | 6 | 1 | 3 | 1 | 5 | 152 |
| Morganwg Ddwyr.... | 24 | 0 | 3 | 170 | 92 | 123 | 63 | 64 | 10 | 24 | 222 | 2285 |
| Sir Fynwy .......... | 14 | 0 | 0 | 77 | 30 | 41 | 28 | 34 | 7 | 15 | 210 | 667 |
| Sir Gaerfyrddin ..... | 16 | 0 | 0 | 72 | 28 | 26 | 17 | 18 | 2 | 27 | 34 | 609 |
| Morganwg Orllewinol | 17 | 0 | 1 | 67 | 37 | 30 | 21 | 29 | | | 77 | 541 |
| Sir Benfro .......... | 11 | 0 | 0 | 20 | 7 | 10 | 6 | 10 | 0 | 4 | 41 | 197 |
| Sir Ddinbych........ | 6 | 0 | 0 | 11 | 17 | 8 | 5 | 4 | 1 | 0 | 29 | 154 |
| Sir Fflint............ | 8 | 0 | 0 | 16 | 14 | 5 | 0 | 3 | 0 | 0 | 26 | 121 |
| Sir Aberteifi ....... | 6 | 0 | 0 | 12 | 8 | 2 | 0 | 2 | 1 | 10 | 20 | 114 |
| Sir Fon.............. | 6 | 0 | 0 | 14 | 9 | 6 | 2 | 2 | 0 | 8 | 49 | 109 |
| Sir Feirionydd ...... | 6 | 0 | 0 | 18 | 2 | 1 | 2 | 6 | 0 | 2 | 10 | 71 |
| Sir Frycheiniog...... | 7 | 0 | 0 | 12 | 6 | 3 | 5 | 0 | 0 | 0 | 7 | 69 |
| Glasgow ............ | 29 | 2 | 0 | 110 | 79 | 101 | 41 | 116 | 7 | 47 | 325 | 2063 |
| Edinburgh .......... | 15 | 1 | 1 | 34 | 35 | 46 | 16 | 102 | 4 | 22 | 65 | 818 |
| Dundee ............. | 5 | 1 | 0 | 8 | 10 | 17 | 6 | 38 | 2 | 7 | 59 | 376 |
| Channel Islands .... | 5 | 0 | 0 | 6 | 9 | 11 | 5 | 12 | 2 | 0 | 27 | 255 |
| Isle of Man.......... | 2 | 0 | 0 | 10 | 8 | 4 | 3 | 5 | 1 | 0 | 16 | 106 |
| Iwerddon ........... | 8 | 0 | 0 | 15 | 8 | 3 | 2 | 3 | 0 | 0 | 25 | 90 |
| Cyfanswm.... | 602 | 22 | 12 | 1761 | 1590 | 1226 | 682 | 1240 | 144 | 524 | 4653 | 30747 |

Enwau y Llywyddion.—Thomas Margetts, Llundain; William Gibson, Manchester; James H. Flanigan, Birmingham; J. W. Cummings, Sheffield; George Halliday, South Conference; C. H. Wheelock, Herefordshire; Glaud Rodger, Liverpool; John Spiers, Bedfordshire; Eli B. Kelsey, Warwickshire; William Booth, Cheltenham; James Marsden, Bradford; Thomas Smith, Norwich; J. D. Ross, Staffordshire; J. S. Higbee, Newcastle-on-Tyne; Lorin Babbitt, Lincolnshire; Lewis Robbins, Derbyshire; George D. Watt, Preston; W. C. Dunbar, Southampton; John Lyon, Worcestershire; William Moss, Clithero; Hugh Findlay, Hull; George Kendall, Dorsetshire; Lewis Robbins, Leicestershire; Joseph W. Young, Shropshire; A. M. Harmon, Carlisle; William Phillips, Morganwg Ddwyreinol; Thomas Giles, Sir Fynwy; David John, Sir Gaerfyrddin; Evan Williams, Morganwg Orllewinol; John Price, Sir Benfro; John Parry, Sir Ddinbych; William Parry, Sir Fflint, John Evans, Sir Aberteifi; Thomas Morgan, Sir Fon; William Evans, Sir Feirionydd; John Jones, Sir Frycheiniog; J. Clements, Glasgow; C. Dunn, Edinburgh; William Burton, Dundee; James M'Naughtan, Channel Islands; John Kelly, Isle of Man.

☞ Am eglurhad ynghylch Cynnadleddau newyddion, a chyfnewidiadau mewn Canghenau, gwel Hanes y Gymmanfa Gyffredinol, yn Udgorn Tachwedd a Rhagfyr, 1850.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Priodwyd,—Ar y 30ain o Ragfyr, 1850, yn eglwys y plwyf, Merthyr Tydfil, gan y Parch. James C. Campbell, John Davis, argraffydd, Georgetown, ag Elizabeth Phillips, o'r Cwmbach.

Ath. a'r Cyf.—Mae yn dda genym fod ychwaneg o dderbynwyr wedi eu cael, a bod tebygolrwydd y daw allan am geiniog a dimai y rhifyn. Ymdrecher ychydig etto.

PENNILL.

I Seion, hyfryd wlad, ein Tad, O dwg
Nyni, dy seintiau mâd, o wlad y gŵg;
Fel gallwn yno gael, dros fil o flwyddi gwiw,
Deyrnasu gyda'r Oen, heb boen na briw. I. R.

Taliadau o Ragfyr 22 hyd Ion. 9.—Sir Ddinbych, £2 10s; Pontytypridd, £3 2s 6c; Llanfabon, £1 8s 11½c; Cwmbach, £1 9s 0½s; Pendulwyn, 6s 1½c; Twynyrodyn, 11s 4½c; Gog, 8s 0½c; Caerdyf, £1; Aberdare, £2 2s 6c; Dowlais, £2 12s; Hirwaen, £1 13s; Rymni, £1 18s 9c; Cwmnedd, 10s; Georgetown, £1; Merthyr, £2 16s 8c; Pendaren, 10s; Cefn, £1 5s 6½c.

☞ Nid ydym yn gweled fod eisieu cyhoeddi hanes y cymmanfaoedd o hyn allan, oddieithr fod rhywbeth neillduol yn passio ynddynt; ond erfyniwn yr hanesion o bob man fel arferol.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr-Tydil;*" ond na ddanfoner ynghylch dim arall.

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 2.] IONAWR 25, 1851. [PRIS 1*g*.

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, A GYNNALIWYD YN NINAS Y LLYN HALEN FAWR, TALAETH DESERET.

Y Llywydd BRIGHAM YOUNG yn llywyddu.

*Dydd Gwener, Medi* 6, 1850.—Yn bresennol, y Brif Lywyddiaeth, Brigham Young, Heber C. Kimball, Willard Richards.

Patriarchiaid—John Smith, Isaac Morley.

O'r Deuddeg Apostol—Orson Hyde, P. P. Pratt, G. A. Smith, E. T. Benson.

Llywyddiaeth y Degau-a-thrugain—Levi W. Hancock, Zera Pulsipher, Henry Herriman, A. P. Rockwood.

Llywyddiaeth y *Stake*—Dan. Spencer, W. Snow.

Corwm yr Archoffeiriaid—John Young, R. Cahoon.

Esgob Llywyddol—Newel K. Whitney.

Uchel Gynghor y *Stake*.

Thos. Bullock—Ysgrifenydd y Gymmanfa.

Galwyd y Gymmanfa i drefn gan yr Henuriad G. A. Smith. Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan P. P. Pratt, a chanwyd.

Yna y Llywydd Young a hysbysodd y gynnulleidfa y buasai y boreu i'w dreulio at gynghori a dysgu, a phregethu ac hyfforddi wed'yn. Y materion a ddygir o flaen y Gymmanfa a fyddant yn dal cyssylltiad â gwahanol gorwmau ac awdurdodau yr eglwys —y priodoldeb o gryfâu y sefydliad yn San Pete, a galwad am wirfoddiaid i ddychwelyd gyda'r Tad Morley—cenadiaeth o henuriaid i Germani, a'r amrywiol daleithiau yn y wlad hono; ei fod

ef unwaith yn rhagor yn bwriadu gosod cyfraith y degwm o flaen y bobl; gan weddio am iddo gael yr ysbryd i lefaru, fel y deallo y bobl; a phrydnawn dydd Sadwrn, bydd i'r Henuriad Hyde draddodi darlith ar ddysgeidiaeth, i Ganghellydd a Rhaglawiaid y Brif ysgol.

Wedi hyny Isaac Morley a ddangosodd ei fod yn ddiolchgar am y cyfleusdra hwn o weled y Saint; mae fy nghalon yn llawn o fendithion i'r bobl. Mae arnaf eisieu cwmni da o ddynion a benywod da er myned i San Pete, ac yr wyf yn dweyd na chaiff neb ag sydd yn cymmeryd enw Duw yn ofer, fyw yn y dyffryn hwnw.

Dywedodd y Llywydd Young—Mae yn fy mryd i ofyn i'r gynnulleidfa, os caiff y Tad Morley yr hawl a'r fraint o ddewis y cyfryw bersonau ag a ddymuna efe i fyned yno?

Cynnygiwyd fod iddo gael y fraint hono; cariwyd.

Cynnygiwyd fod iddo gael dewis cant o ddynion, gyda theuluoedd neu hebddynt; cariwyd.

Dywedodd y Llywydd Young—Mae yn gystal dyffryn ag a welsoch erioed; ni ellir cael gwell tir yn unman; nid oes ond un ffordd rwydd i fyned tuag ato, ac y mae hono i fyny yn Salt Creek; mae y trigolion yno yn "No. 1;" a phan oeddwn i yn y dyffryn hwnw mi weddiais ar Dduw na chawsai un dyn anghyfiawn fyw yno. Yr wyf yn myned i ddwyn o flaen y bobl yr anghenrheidrwydd o ddal i fyny y drysorfa tuag at ymfudo y tlodion. Yr wyf yn tystio yn hyf ac ar gyhoedd, nad oes anghen i neb o'r frawdoliaeth hon fyned i'r mwngloddiau er cynnyddu y drysorfa; mae gyda ni fwy o feddiant a chyfoeth nag a allwn ofalu am danynt. Os nad yw dyn yn alluog i wneyd defnydd o un dalent, pa ddyben yw iddo gael rhagor? Mae fel y plentyn ffol, yr hwn ni allai ddal â'i ddwy law ond un afal, ac wrth ymdrechu am ragor, a gollodd yr hyn oedd ganddo. Pe buasai dynion ddim ond yn gwybod pa fodd i drafod yr hyn sydd ganddynt, a bod yn foddlongar, gwnelent lawer yn well.

Mi ddechreuaf yn y sefydliadau gogleddol, a chan fyned i'r rhai deheuol, gwnaf bigo allan 25 o'n trigolion ni, yn ol y cyfartaledd; a gall rhywun arall gymmeryd 50 o'r aur-gloddwyr, ac ni allant hwy brynu eiddo y 25 sydd wedi aros yn nhref. Cyn i mi fod un flwyddyn yn y lle hwn, ni allai y dyn cyfoethocaf a ddaeth o'r mwngloddiau, sef y Tad Rhodes, efo ei 17,000 o ddolars, byth

brynu y meddiannau a gasglais mewn un flwyddyn! Nid allai ddechreu gwneuthur hyny; a gwnaf gymmeryd 25 o ddynion yn yr Unol Daleithiau, sef o'r rhai sydd wedi aros gartref, ac wedi talu sylw i'w busneson, a bydd iddynt orbwyso 50 o rai ereill o'r un lle, ag sydd wedi myned i wlad yr aur; ac etto, edrychwch ar y gweddwon sydd wedi eu gwneyd, a gwelwch yr esgyrn sydd yn wasgaredig ar hyd y *prairies*.

Dyoddefodd y brawd Joseph i gael ei lusgo ar hyd y wlad gan derfysglu, a llusgwyd ef hefyd i rywbeth fel chwech neu wyth a deugain o gwynion cyfreithiol, etto buddugoliaethodd ar y cyfan; ac yna lladdasant ef mewn gwaed oer, yn ngharchar Carthage, heb un rhith o drosedd yn perthyn iddo. Tyngais y pryd hwnw na wnawn dalu cyfreithiwr byth drachefn; ac nid oes arnom un ddime o ddyled, nad allwn ei thalu unrhyw fynyd. Os gallaf gadw fy ymddiried yn dda gyda Duw, nid yw wahaniaeth genyf pa un a yw dynion yn siarad yn ddrwg am danaf ai peidio.

Canwyd gan y côr, a gweddiwyd gan G. A. Smith.

*Dydd Gwener, dau yn y prydnawn.*—Galwyd y gymmanfa i drefn gan Daniel Spencer; ac wedi canu, gweddiwyd gan G. A. Smith, a chanwyd.

Gwnaeth P. P. Pratt rai sylwadau ynghylch y mynyddoedd a'r dyffrynoedd sydd ar y tu dwyreiniol i'r Utah. Os bydd i ni gario allan y cyfarwyddiadau a dderbyniwn yn barhaus, nyni fydd y bobl ddedwyddaf ar y ddaear; mae pwy bynag sydd yn cael ei lywodraethu gan deyrnas Dduw, yn ddyn dedwydd; ond pwy sydd wedi mwynhau hyny? Bob amser, trwy y dyn ag oedd yn *barod*, yr oedd yr Arglwydd yn gweithio; yr unig beth y dylem ni ymyraeth yn ei gylch yw, pa un a ydyw egwyddorion teyrnas Dduw yn ein calonau, ac os mai ein dymuniad yw eu cyflawni?

Yna Orson Hyde a ddadleuodd dros y Drysorfa Ymfudol Barhaus, a'r rhai hyny ag sydd yn aros yn swydd Pottawatamie. "Mae yn dda genyf fod ffordd wedi ei dyfeisio i roddi ceffylau, ychain, gwenith, &c., a chael *checks* ar y Taleithiau, lle y gellir defnyddio yr arian at ddwyn y tlodion i'r lle hwn. Mae y gweithrediad yn dda, a bydd iddo weithredu, nid yn unig yn yr Unol Daleithiau, ond yn Lloegr, a gwledydd ereill hefyd. Yr wyf yn teimlo pan yr elwyf yn ol i Iowa, y gallaf gynnorthwyo y Saint, gan fy mod wedi gweled a phrofi o ffrwythau y Dyffryn.

Dywedodd y Llywydd Young—Boddlonir fi yn fawr wrth gan-

fod y cynhesrwydd teimlad tuag at y tlodion gan yr Henuriad Hyde; ac yr wyf yn meddwl mai y ffordd oreu i ni ryddhau ein hunain o'r holl geffylau a'r anifeiliaid a allwn hebgor, yw eu gosod yn Nhrysorfa y Tlodion. Ni fydd i ni attal ein hymdrech-iadau hyd nes y byddo Seion wedi ei gwaredu, a holl Israel wedi eu casglu. Oddiar ddyddiau Joseph hyd y foment bresennol, ni chyflawnwyd y prophwydoliaethau yn gyflymach erioed. Maent yn wyrthiau a rhyfeddodau i ni cyhyd ag y byddom heb eu deall.

Cynnygiodd H. C. Kimball fod pwyllgor o dri i'w apwyntio, i gymmeryd gofal o Drysorfa y Tlodion, a thrafod ei materion; cariwyd. Ac, ar gynnygiad, dewiswyd Willard Snow, Edward Hunter, a Daniel Spencer, i gyfansoddi y pwyllgor.

Dywedodd y Llywydd Young—Mae un cwestiwn a ddymunwn ofyn, a hyn yw; a gefnoga y bobl hyn y pwyllgor yma hyd at y ffyrling olaf? Os gwnant, yn y diwedd llawenydd mawr fydd eu rhan; os ydych yn cyfammodi i wneyd hyny, arwyddwch trwy godiad deheulaw. (Dwylaw pawb i fyny.) Foneddigion, dyna beth yw'r "*dychryn yn mhlith y cenedloedd*!" nis *gellwch* gael pleidlais wrthwynebol! *dyna'r dychryn*—UNDEB Y BOBL HYN!

Meddyliwyf mai ein gorchwyl nesaf fydd cael y pwyllgor yma wedi ei reoleiddio yn gwmpeini, a'i siartro gan y Dalaeth, i orfodi tâl, &c., a thrafod pob materion fel cwmpeini, ac yna y bydd blaendarddiad a blodeuad un o'r gweithrediadau mwyaf yn yr holl fyd.

Nid ydym am gadw y cyfarfod hwn ddim yn hwy; ond yn y cyfamser, dewch yn mlaen a chofrestrwch eich enwau, a'r swm a roddoch i mewn, a osodir gan y brawd Bullock gyferbyn a'ch enwau.

Canwyd gan y côr, a gweddiwyd gan Ezra T. Benson.

*Dydd Sadwrn, Medi 7, deg o'r boreu.*—Galwyd y gymmanfa i drefn gan Daniel Spencer. Canwyd gan y côr, a gweddiwyd gan Lorenzo Young, a chanwyd eilwaith.

Cyfododd yr Henuriad G. A. Smith i lefaru ynghylch egwydd-orion cyntaf efengyl Iesu Grist. Dywedodd fod pregethu gair y bywyd i ddyn yn alwedigaeth uchel a santaidd, ac yn ymddiried-aeth bwysig i unrhyw bobl; a dewisodd yn destun 1 Thes. i, 5; a rhanodd ef, yn gyntaf, i air yr efengyl; yn ail, i allu yr efengyl; yn drydydd, i allu yr Ysbryd Glân; ac yn bedwerydd, i'w sicrwydd. Gan mai yr efengyl yw gallu Duw i bob enaid a

gredo, gwnaeth sylwi ar enedigaeth, croeshoeliad, marwolaeth, ac adgyfodiad Iesu Grist, ac yna y commissiwn a roddodd i'w ddyscyblion, a'i gyfarwyddiadau iddynt, fel ei dystion, i dystiolaethu am y gwirionedd, a dysgu pob peth a orchymynodd efe iddynt, a'u dechreuad pregethu ar ddydd y Pentecost, mewn cyflawniad o'u commissiwn; gan alw ar y bobl i edifarhau a chymmeryd eu bedyddio yn enw Iesu Grist, gydag addewid o'r Ysbryd Glân ag oedd i ganlyn, trwy yr ordinhad o osodiad dwylaw.

Mae yn rhaid i ddynion ufyddhau ordinhadau yr egwyddorion cyntaf, neu fe fydd eu goruwch-adeiladaeth yn ofer. Mae yn ysgrifenedig fod pob gallu yn y nefoedd ac ar y ddaear wedi ei roddi i Iesu Grist: gan hyny, fe orchymynodd iddynt i fyned a bedyddio y bobl yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân; a hwy a aethant yn enw Iesu Grist, ac a weithiasant, a'r Dyddanydd a ddaeth oddiwrth y Tad, ac a ddygodd bob peth ar eu cof, ac a ddysgodd iddynt bethau i ddyfod; ac wedi i'r bobl ufyddhau, disgynai yr Ysbryd Glân arnynt, cyflawnid yr addewidion, ac yna y bobl a gyfodent i fyny, ac a dystiolaethent eu bod yn gwybod fod y peth yn wir.

Mae sectau yr oes yn dadleu fod y rhoddion a'r bendithion hyn wedi eu cymmeryd oddiar y ddaear, ac ni feiddiant hyd y nod ufyddhau i fedydd, neu osodiad dwylaw, er fod yr Iachawdwr yn dweyd yn bendant wrthym fod yn rhaid i ni ufyddhau.

A fwriadodd Duw yr efengyl hon i ni, yn ei holl allu a'i gogoniant, ei rhoddion a'i bendithion? Do: mae y pethau hyny yn addawedig hyd y nod hyd ddiwedd y byd, a chyhyd ag y byddai bodau ar y ddaear: ac y mae Crist ei hun wedi rhoddi rhai yn apostolion, rhai yn brophwydi, athrawon, &c., i waith y weinidogaeth, ac adeiladaeth yr eglwys.

Mae yr holl fyd Cristionogol wedi gwrthod y gyfraith, colli ei goleuni, ac yn amddifad o'r gallu a'r awdurdod, ynghyd â'r bendithion; ac o eisieu y pethau hyn, cylch-arweinir hwynt gyda phob awel dysgeidiaeth, a hoced dynion i dwyllo.

Duw, yn y dyddiau diweddaf hyn, o'i fawr drugaredd, a ddanfonodd Joseph Smith â'r efengyl, a'r sicrwydd *a ganlynodd y rhai hyny* a aethant i mewn trwy y *drws*, gan ddilyn Bugail y defaid. Unodd y byd yn ei erbyn, a deugain o weithiau y dygwyd ef o flaen y llywodraethwyr, pan na chafwyd dim yn ei erbyn; ac yna llofruddiwyd ef mewn gwaed oer gan bregethwyr drygionus a dyn-

ion cynllwyngar; a thywalltwyd ei waed ar y ddaear fel dwfr. Rhoddodd dystiolaeth o'r gwirionedd, a seliodd hi â'i waed; ac y mae'r awdurdod yma i weinyddu yr ordinhadau i chwi a'ch plant, a chynnifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato. Mae ei hegwyddorion yn cael eu pregethu yn awr, a gwahoddwn chwi i ddyfod allan a derbyn ei bendithion, yn eu holl gyflawnder; a bydded i Dduw, ein Tad tragywyddol, eich bendithio chwi oll, yn enw Iesu Grist. Amen.

Willard Snow a gyflwynodd lyfr at danysgrifio fel y canlyn:— "Yr ydym ni sydd â'n henwau isod, yn cytuno i dalu i bwyllgor y Drysorfa Barhaus at ymfudo y tlodion, y swm sydd gogyfer â'n henwau," &c.; ac yna llefarodd yn gadarn o blaid Trysorfa y Tlodion, ond ewyllysiai i bawb dalu wrth fyned.

George A. Smith—Mae un peth genyf i osod o flaen y gymmanfa hon, mewn perthynas i'r Tad Cutler. Ar ol i'r Lywyddiaeth ymadael o Pottawatamie, yr oedd sôn ar led fod y Tad Cutler wedi myned i swydd Jackson er gosod sylfaen i deml arall. Mae dylanwad yn bodoli yno, sydd â thuedd i dynu rhai ymaith o'r Dyffryn, ac y mae dirgelwch mawr yn hongián dros eu gweithredoedd. Mae y gymmanfa yn Pottawatamie wedi esgymuno Cutler, Calkins, ac ereill. Dywedai Calkins nad oedd un gallu yno i'w dreio ef, gan mai esgob oedd.

Mae yn ein bryd i geisio gan y bobl dda sydd yn byw yn awr yn swydd Jackson, Mo., i'n petisiyno i ddyfod yn ol etto, ac adeiladu teml yno, os bydd i lywodraeth Missouri basio penderfyniadau i'n hamddiffyn yn ein hiawnderau. (Chwerthin.)

Dywedodd y Llywydd Young—Nid oes un treial o flaen yr Eglwys ynghylch cangen Silver Creek, lle mae y Tad Cutler yn byw. Yn ystod y rhyfel diweddaf yr oedd ef yn adnabyddus â llawer o'r Indiaid yn Nhalaeth New York, y rhai a aethant i Green Bay; gwelsant ef eilwaith yn Winter Quarters, pan y dymunasant arno i fyned i lawr ac adeiladu melinau, a sefydlu ysgol yn eu plith, gan eu bod wedi derbyn y fraint oddiwrth y llywodraeth o ddewis eu crefftwyr a'u hathrawon eu hunain. Dywedais wrtho am fyned i lawr, a gweithio, ac ennill ei ddarpariaeth. Mae hyn wedi cael ei droi yn ffrwd o gelwyddau, ac wedi dystrywio ei ddylanwad.

Mae gan y gymmanfa yno awdurdod i weithredu ynghylch yr aelodau yn y gynnadledd hono, ac yr wyf yn cymmeradwyo eu

gweithrediadau; mae y cyfan yn hollol gyfreithlawn, mor bell ag yr wyf wedi clywed.

Dymunaf ei fod yn llwyr ddealladwy, nad oes un apostol i Iesu Grist sydd yn byw yn awr, neu a fu yn byw erioed, neu a fydd byw byth, heb fod gair y dyn hwnw yn gyfraith ac yn efengyl i'r bobl, os bydd efe yn mawrygu ei swydd. Gwnaeth yr apostolion yn iawn yn yr achos hwn; a dywedaf fod gweithrediadau y gymmanfa yn Pottawatamie, yr Henuriaid Hyde, G. A. Smith, ac E. T. Benson, yn gyfiawn: ac os yw y gymmanfa hon yn meddwl yr un peth, arwydder trwy ddyrchafiad dwylaw. (Dwylaw pawb i fyny.) Ac yn mhellach, os yw y gymmanfa yn swydd Pottawatamie wedi eu tori allan, y maent gymmaint wedi eu tori allan ag y gallant fod.

Pan fyddo genym apostol allan, heb y gallu i ymddwyn tuag at gynnadledd, yr ydym yn ei alw gartref, neu ei ddanfon i Texas, i ymuno â Lyman Wight, ac yna gosodwn ddyn arall yn ei le.

Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan Aaron Johnson.

*(I'w barhau.)*

---

## "DAWN YR YSBRYD GLAN."

Y MAE Ysbryd Duw, megys rhyw haul mawr cyffredinol, "yn goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd." Dyma y gwir oleuni, a derbynia pawb, i raddau mwy neu lai, o'i belydrau. Efe sydd wedi bod yn goleuo yn y cenedlaethau sydd wedi myned heibio, yn mhob cwr o'r ddaear, ac efe sydd etto yn peledru y dô bresennol o'r hil ddynol. Ond er ei fod yn wir oleuni, ac yn goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd; etto, nid oedd yn goleuo pawb ynghylch pob gwirionedd, canys yr oedd unig ffordd y bywyd yn guddiedig oddiwrth fwyrif y ddaear. Daethwyd o hyd i lawer o wirioneddau, yn mhob oes a gwlad, trwy y goleuni cyffredinol hwn, ag sydd yn tywynu ar bawb. Mae dynion o bob llwyth ac iaith wedi derbyn lles oddiwrtho, ond nid neb yn fwy na'r diwygwyr enwog sydd wedi bod yn adlewyrchu yn y canrifoedd sydd wedi myned heibio. Ond er fod pob dyn yn cael ei oleuo gan Ysbryd Duw, nid yw pob dyn yn *derbyn* ei Ysbryd; canys dywed yr ysgrythyrau, nas gall y byd ei dderbyn. Goleuir pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd,

eithr y rhai hyny a wnant ewyllys Duw yn unig sydd yn ei dderbyn yn "*ddawn*" ynddynt eu hunain. Mae dawn neu rodd Ysbryd Duw yn beth nas gall y byd ei dderbyn; ond am y goleuni, tywyna ar bawb, er nas gall pawb rodio yn ddigyfeiliorn wrth ei oleu. Dau beth hollol wahanol yw derbyn cyfran o'r Ysbryd, megys dawn, a chael ein goleuo ganddo. Mae y cyntaf yn oleuni ynom ni ein hunain, tra nad yw y llall ond pelydrau oddiwrth y goleuni. Rhwydd ddigon y gall fod enwadau ein gwlad yn derbyn goleuni Ysbryd Duw, eithr gofyna gyflawniad o ewyllys Duw i dderbyn "dawn yr Ysbryd Glân," sef y Dyddanydd arall, yr hwn sydd yn dwyn ar gof yr hyn sydd wedi myned heibio, ac yn mynegi pethau i ddyfod, ac hefyd yn arwain i bob gwirionedd. Nid yw pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd yn derbyn dadguddiadau ynghylch yr hyn a fu ac a ddaw, nac yn cael eu tywys i bob gwirionedd; ond dyscyblion Crist yn unig sydd yn cael derbyn hyny. Dyna yr achos i Paul, wedi iddo glywed fod y deuddeg hyny yn Ephesus yn ddyscyblion, ofyn, A dderbyniasoch chwi yr Ysbryd Glân er pan gredasoch? Wedi iddynt ddyfod i'r ffordd i'w gael, darfu iddynt ei dderbyn, a chael dadguddiadau trwyddo. Wel, fe wel pawb yn awr, ynte, y gwahaniaeth sydd rhwng derbyniad dawn yr Ysbryd Glân, a derbyniad goleuni oddiwrth Ysbryd Duw. Ac os oes ar rywun eisieu cael dawn yr Ysbryd Glân, creded eiriau Pedr ar ddydd y Pentecost, sef "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch, yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau," a gellir dywedyd wrtho, "A chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân; canys i chwi mae yr addewid, ac i'ch plant, ac i bawb yn mhell, cynnifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato." Os oes rhai gwirioneddau yn meddiant dynion ereill, nid ydym ni am eu cymmeryd oddiwrthynt; canys cyfranu ychwaneg i bawb yw ein gwaith ni. Pan fyddo rhyw wirionedd gan ereill i roddi i ni, byddwn yn barod i'w dderbyn, canys ein cyffes ni yw credu pob gwirionedd. Ystyr Mormoniaeth yw, mwy o ddaioni, ac nid mwy o dwyll fel yr haera rhai. Mae ein crefydd yn cofleidio pob gwirionedd, deued o ba le y delo, ac annoga bawb i dderbyn "dawn yr Ysbryd Glân."

Gwawried yr amser hyfryd hyny pan y bydd i'r Arglwydd dywallt ei Ysbryd ar bob cnawd, fel y caffo pob dyn sydd yn dod i'r byd, nid yn unig ei oleuo ganddo, ond ei wresogi hefyd.

# TESTAMENT Y DEUDDEG PATRIARCH, SEF MEIBION JACOB.

[*Parhad o dud.* 14.]

## TESTAMENT JACOB.

*A wnaeth efe wrth ei farwolaeth i'w ddeuddeg mab y Patrieirch, mewn perthynas i'r hyn a ddygwyddai yn eu dyddiau diweddaf; a gasglwyd allan o Genesis* xlviii, *ac a chwanegwyd at y Llyfr hwn.*

JACOB mab Isaac, a anwyd o Rebecca, yn oedran y byd 2108, ei dad ef oedd wr 60 mlwydd oed, yn wr perffaith a chyfiawn, yn byw mewn pebyll. Nid oedd Jacob yn ymroi i bleserau helwriaeth, megys ei frawd hynaf yn ol natur, nid yn ol gras, o herwydd yr hynaf a gaiff wasanaethu yr ieuangaf, ebe yr Arglwydd; o herwydd pa ham, nid o herwydd yr haeddai Jacob hyny, eithr felly yr ordeiniodd yr Arglwydd; o herwydd pan drwy ragluniol ewyllys Duw, a nefol drefniad yr hwn sydd yn ordeinio pob peth, a ennillodd enedigaeth fraint ei frawd, a bendith ei dad; ei rieni ef yn ystyried fod llithrig ddyddiau cyssyiltiad corfforol yn nesâu, ac yn wyliadwrus yn ofni ei frawd Esau, o herwydd ei fod ef gwedi beichiogi yn ei galon ar lofruddiaeth, ac iddo bennodi dydd i esgor o'i amcan cythreulig, hwy a ddanfonasant Jacob o Beerseba i Mesopotamia at Laban brawd ei fam ef, yno yn onest i gymmeryd gwraig, ac i fyw mewn llonyddwch, o herwydd priodas heb undeb rhieni, a gwir ystyriaeth y ddwy-blaid o'r cytundeb, megys ag y mae yn magu aflonyddwch, mae felly yn anfoddhau Duw; am hyn Jacob yn ol hir daith, gwedi myned at Laban, a'i wasanaethu ef bedair ar ddeg o flynyddoedd mewn poen a llafur, er ei fod ef yn fab yr addewid, a bendigedig gan Dduw, gwedi ei eni o wraig rydd, ac heb law hyny, yn gig ac yn waed ei ewythr, ac yn arglwydd Canaan; nid ymresymodd efe rhyngddo ag ef ei hun, megys plant bydol y ddaearen hon, gan ddywedyd, A gaf fi yr hwn wyf rydd, a mab i wr rhydd goludog, fod yn wasanaethwr ac yn gaeth-was yn nhy fy ewythr, gwedi fy anfon i briodi, ac nid i wasanaethu? Laban a roddes iddo ei ddwy ferch yn wragedd am ei wasanaeth da, trwy ba un y bendithiodd Duw yr ychydig oedd gan Laban o'r blaen, fe a roddodd iddo ei ddwy ferch, Lea yn gyntaf, ac yna Rahel, ac hefyd ei ddwy forwyn, Bilha a Zilpah, o ba rai, yn ol yr addewid a wnaethid iddo ef yn Rahel, yr amlheid ei had; efe a genedlodd ddeuddeg mab, deuddeg duwiol dadau: Reuben, Simeon, Lefi, Juda, Dan, Naphtali, Gad, Aser, Issachar, Zabulon, Joseph, Benjamin.

A'r Arglwydd yn ei fendithio ef fel hyn, yn gystal mewn plant, ag mewn golud; aeth yn ol drachefn i wlad ei enedigaeth, efe a'i blant yno i fyw, ac i farw; ac wele duwiol ragluniaeth

Duw, yn ol yspaid 33 o flynyddoedd, efe a symudodd o Ganaan i Gosen yn yr Aifft, trwy waith Joseph ei fab ef, goruchwyliwr gwlad yr Aifft, yr hwn a werthasid gan ei frodyr; yn mha le ar ol iddo fyw yno ddwy flynedd ar bymtheg, a gweled ei deulu yn cynnyddu, i'w fawr lawenydd a'i gysur, heb ammau; ond yn fwyaf arbenig am fod yr holl wlad o'i amgylch yn cael ei chystuddio â newyn, ac ef trwy fawr drugaredd Duw, heb fawr deimlo y peth; ac felly yn deall fod ei boenus bererindod ef yn dyfod i ben: efe a alwodd ato ei fab Joseph, ac a ddywedodd wrtho, Os cefais ras yn dy olwg, dyro dy law dan fy morddwyd, (o herwydd yn y drefn hono y cymmerent lŵ yn amser Jacob) delia yn drugarog ac yn gyfiawn â myfi, na chladd fi yn yr Aifft, eithr gad i mi huno gyda fy nhadau; lle yr oedd gwir ffydd yn addewidion yr Arglwydd i'w dadau, yn ei annog ef i edrych am Ganaan, ei obeithiol etifeddiaeth ef, ac nid i ymddiried yn nhir Pharao; i'r hwn erfyniad pan ddarfu i Joseph, ei anwyl fab ef, ufydd gyd-uno, Jacob yn chwanegu ei nerth, ac yn sefyll i fyny, yn ewyllysio felly ddangos iddynt fawr ddaioni yr Arglwydd yn ei amddiffyn ef a'i eiddo, a ddywedodd, Duw Hollalluog a ymddangosodd i mi yn Luz, yn nhir Canaan, ac a'm bendithiodd, gan ddywedyd, Mi a'th wnaf di yn ffrwythlawn, ac a wnaf it' amlhau, ac a wnaf o honot rifedi mawr o bobloedd; ac a roddaf i'th had y tir hwn yn feddiant tragywyddol. Dy feibion, Manasseh ac Ephraim, a gymmeraf megys yr eiddof fi, eu brodyr hwynt a elwir yn ol eu henwau hwy. A myfi yn dyfod o Mesopotamia, Rahel a fu farw yn nhir Canaan, ac a gladdwyd wrth y ffordd i Ephrata, yr un yw Bethlehem.

Yna Jacob, er ei fod yn dra thywyll o herwydd ei oedran, yn edrych ar ddau fab Joseph, a atebodd, Fy meibion ydynt, y rhai a roddes Duw i mi. O dwg hwynt ataf fi, ebe Jacob, a gad i mi eu bendithio; nid oeddwn yn tybied y gwelwn mo'th wyneb di, Joseph; wele yr Arglwydd a ddangosodd i mi dy had.

Duw yn ngolwg pa un y rhodiodd fy nhadau Abraham ac Isaac, Duw yr hwn a'm porthodd i holl ddyddiau fy einioes, hyd y dydd hwn, a'r angel yr hwn a'm gwaredodd i rhag pob drwg, a fendithio y llanciau hyn, a gelwir fy enw i arnynt, ac enw fy nhadau Abraham ac Isaac, a bydded iddynt gynnyddu yn lliosog yn nghanol y ddaear.

Yna pan gododd Joseph law ei dad oddiwrth Ephraim at Manasseh yr hynaf, Jacob a ddywedodd, Gad iddi, myfi a'i gwn yn dda, fy mab; bydd hwn hefyd yn bobl, a mawr fydd hwn hefyd; eithr ei frawd ieuangaf a fydd mwy: Ynot ti bydded i Israel fendithio, gan ddywedyd, Duw a'th wnel di fel Ephraim a Manasseh. Yn ol hyn, ac efe yn gwanychu a ddywedodd, Wele, Joseph, yr wyf yn marw: Duw a fydd gyda chwi, ac a'ch dwg chwi etto i dir eich tadau; ac yn mhellach, yr ydwyf yn gadael i ti barthedd yn ychwaneg o dir nâ'th frodyr, yr hwn a ennillais i trwy'r cleddyf a'r bwa, oddiar yr Amoriaid. Dewch chwithau yma, O fy mhlant; fel y gallwyf ddywedyd i chwi y pethau a

ddygwydd yn y dyddiau diweddaf, ymgesglwch i'r un lle, a gwrandewch chwi meibion Jacob, ar Israel eich tad.

REUBEN, Fy nghyntaf-anedig, fy nerth, fy ngallu, rhagorol mewn teilyngdod a nerth, anwadal fel dwfr, ni ragori di, o herwydd it' halogi fy ngwely.

SIMEON a LEFI, Brodyr mewn drygioni, y rhai yn eich dig a laddasoch wr, ac yn ol eich ewyllys eich hunain, a ddiwreiddiasoch wal. Melldigedig fyddo eich digofaint, o herwydd digywilydd oedd, a'ch gwylltineb oedd greulon; mi a'ch rhannaf yn Jacob, ac a'ch gwasgaraf chwi yn Israel.

JUDA, Dy law a fydd ar wddf dy elynion, dy frodyr a ymostyngant it', fel cenaw llew y deui i fyny o'r lladdfa, ti a orweddi fel llew, ac fel llewes, pwy a'th gyffroiff di i fyny? Yn ail, y deyrnwialen nid ymedy â thi, na rhoddwr cyfraith oddi rhwng dy draed, nes y del y SILO, a'r holl Genedloedd a geisiant ar ei ol ef. Yn drydydd, Ti a rwymi dy ebol wrth y winwydden, a llwdn yr asen wrth y winwydden oreu: ti a olchi dy wisg mewn gwin, a'th gochl yn ngwaed y grawn-win; dy lygaid fyddant gochion gan win, a'th ddannedd fyddant wynion gan laeth.

ZABULON, Ti a gyfaneddu wrth làn y môr, ti a fyddi borthladd i longau, dy derfynau a fyddant hyd Sidon.

ISSACHAR, Ti a fyddi gryf fel asen, yn gorwedd i lawr rhwng dau bwn; gweli orphwysdra mai da yw, a bod y tir yn hyfryd, gogwyddi dy ysgwydd i gario, ac a fyddi ddarostyngedig i deyrnged.

DAN, Tydi a ferni y bobl megys un o lwythau Israel: Ti a fyddi sarff ar y ffordd, a neidr ar y llwybr, yn brathu sodlau y march, fel y syrthio ei farchog yn ol.

Yna, Jacob yn rhagweled yn ei feddwl y mawr drueni oedd yn amgylchu ei hiliogaeth ef, a gysurodd ei hunan, gan orphwys ar addewid Duw, a llefain allan o'i galon a'i feddwl, *O Arglwydd, wrth dy iachawdwriaeth y dysgwyliais.*

GAD, Llu o wŷr a'th orchfygant di, a thithau a'u gorchfygi hwythau yn y diwedd.

A pha beth a ddywedaf wrth ASER? Ei fwrdd a fydd bras, ac efe a rydd ddanteithion breninol.

NAPHTALI sydd garw ieuanc, a ddanfonwyd yn anrheg, yn rhoddi geiriau da.

JOSEPH sydd gangen flodeuog ger llaw y ffynnon, a'i mân gangenau yn cyrhaeddyd ar hyd y mur; y saethyddion a saethasant yn ei erbyn ef, ac a'u curasant; eithr ei fwa ef a wnaed yn gryf, a'i freichiau ef a nerthwyd trwy law rymus Duw Jacob. O hwn y daw allan fugail a chraig yn Israel. Hyn oll a ddeillia oddiwrth Dduw fy Nhad, yr hwn a'th gynnorthwyodd di, ac a'th fendithiodd di o nefol fendithion, a bendithion y bronau a'r groth. Rhagorodd bendithion dy dad ar yr holl fendithion a dderbyniais i oddi wrth fy rhieni, hyd yn nherfyn bryniau tragywyddoldeb y byddant ar ben Joseph, ac ar goryn yr hwn a neillduwyd oddiwrth ei frodyr.

BENJAMIN a ysglyfaetha fel blaidd, y boreu y bwyty efe yr ysglyfaeth, ac yn yr hwyr y rhan efe yr yspail.

A phan orphenodd eu bendithio hwynt, yna efe a orchymynodd iddynt, gan ddywedyd, Myfi a gesglir at fy mhobl, Cleddwch fi gyda fy nhadau, yn yr ogof sydd yn maes Ephron yr Hethiad, yn yr ogof sydd yn maes Macpelah, yr hwn sydd o flaen Mamre, yn nhir Canaan, yr hwn a brynodd Abraham gyda'r maes, gan Ephron yr Hethiad, yn feddiant beddrod, lle y claddasant Abraham a Sarai ei wraig ef, ac Isaac a Rebecca; ac yno y cleddais innau Lea. Y maes a'r ogof a gafwyd gan feibion Heth.

A phan orchymynodd Jacob i'w feibion, yr hyn oll a fynai, ar ol iddo fyw gan mlynedd a saith a deugain, efe a dynodd ei draed i fyny yn y gwely, ac yn fuan a fu farw. Yna Joseph a syrthiodd ar ei wyneb ef, ac a'i cusanodd ef â dagrau, ac a barodd i'r meddygon ei ber-arogli ef dros yspaid deugain niwrnod; a hwy a alarasant am dano ddeng niwrnod a thrugain, a chan ymadael a'r Aifft, a myned i Ganaan, gyda gwyr ardderchog y wlad, mewn cerbydau, a chyda gwyr meirch, hwy a'i claddasant lle y gorchymynasai Jacob iddynt.

(*I'w barhau.*)

---

## "NATUR GWYRTHIAU."

[PARHAD O DUD. 17.]

YN nesaf, cawn ein gohebydd, ar ol diolch am synwyr cyffredin, a Bibl, er profi yr ysbrydion (sef y tri ysbryd aflan a welodd Ioan yn dyfod allan o safn y ddraig, y bwystfil, a'r gau-brophwyd, y rhai ydynt egwyddorion Paganiaeth, Pabyddiaeth, Mahometaniaeth, medd efe), yn myned i ddangos pa beth ydyw natur gwyrthiau. Mae yn trin hyn yn oleu iawn, ac nid wyf fi yn gweled fod un ffordd i'w wrthwynebu.

Wedi egluro natur gwyrthiau, dywed nad all neb ond Duw eu cyflawni, ac nad oedd efe yn eu cyflawni ond ar amgylchiadau neillduol iawn. Dywed hefyd mai ei ddyben wrth gyflawni gwyrthiau trwy ddynion, "bob amser oedd, naill i'r dyben o brofi uniondeb yr athrawiaeth a bregethent, neu y neges mewn golwg ganddynt." Yn awr, dangoswn i'n gohebydd nad er mwyn un o'r dybenion uchod yr oedd Duw yn cyflawni gwyrthiau. Mae mynediad Israel drwy y môr coch yn profi mai er eu gwaredu hwy o law yr Aifftiaid, y gwnaed hyny. Felly am y tri llanc yn y ffwrn dân, a Daniel yn ffau y llewod, ac ugeiniau o siamplau ereill a ellid eu henwi, y rhai a ddangosant yn eglur mai dybenion trugarog, ond nid dim o'r pethau a noda Dewi, oedd mewn

golwg gan Ddnw yn yr holl wyrthiau a gyflawnodd. "Yn awr," medd efe etto, "os gall Seintiau y Dyddiau Diweddaf gyflawni gwyrthiau, adgyfodent ryw farw—rhoddent lygaid i ryw ddall—clustiau i ryw fyddar—tafod i ryw fydan—ac attalient yr *Atlantic Ocean*, fel y galiont fyned trwyddo ar dir sych idd eu Jerusalem newydd; neu parent i'r haul aros yn nghanol y canol-bwynt," &c. Y mae efe yma etto yn enbyd iawn am arwydd; ac arwydd fawr iawn yw un a ewyllysiai gael, ond hollol ddibwrpas, sef attal y Môr Werydd, a cherdded ar dir sych i'r Amerig. Buasai yn ddoethach o lawer nâ hyny i gymmeryd llongau i fyned drosodd; canys buasai yn flinderus iawn i gerdded cymmaint o ffordd.

Profa ein gohebydd yn nesaf nad yw yn ddichonadwy i angylion da gyflawni gwyrthiau, heb awdurdod oddiwrth Dduw. Y mae hyn yn beth a gredir gan Saint y Dyddiau Diweddaf. Ond ni all neb benderfynu pa un a oes gallu gyda hwy eu hunain neu beidio; os oes, nid ydynt yn gweithredu ond mewn ufydd-dod i Dduw.

Mewn perthynas i allu angylion drwg i gyflawni gwyrthiau, y mae siamplau yn yr ysgrythyr am danynt yn gallu cyflawni pethau mawr. Yr oedd Satan, wedi cael Job yn ei law, yn yn medru gwneyd gweithredoedd mawrion. Ond y mae yn amlwg nad yw efe yn cael caniatâd bob amser, onide beth a ddeuai o honom. Y mae efe yn barod, ac yn alluog, i niweidio pawb, os bydd yn cael ei ewyllys. Yr oedd efe yn barod i nithio Simon "fel gwenith; ond gweddiai Crist na ddiffygiai ei ffydd ef. Y mae gan Satan allu i ymrithio fel "angel y goleuni." Os yw y penaeth yn gallu gwneyd pethau fel hyn, y mae yn rhesymol y gall ei holl lu ef, i raddau mwy neu lai.

Fod dynion drwg yn amddifad o allu i gyflawni gwyrthiau, sydd bwnc nad yw o nemawr bwys yn bresennol i ni ei wybod; ond gellir nodi nas gallant wneyd dim trwy Dduw, ond yr hyn a allant trwy ysbrydion drwg. Y mae yn amlwg fod y dyn a feddiennid gan y lleng cythreuliaid yn medru cyflawni trwyddynt bethau tu hwnt i'r cyffredin, yr hwn ni ellai neb ei rwymo hyd y nod â chadwynau a llyffetheiriau, canys yr oedd yn dryllio y rhai hyn yn ddarnau (Marc v). Sonir yn yr ysgrythyrau hefyd am lances wedi ei meddiannu gan ysbryd, yr hon oedd yn medru ar ddewiniaeth; canys pan geryddwyd yr ysbryd drwg, darfyddodd ei gallu (Act. xvi, 16—19). Y mae Ioan yn Dad. xiii, 13,

wedi gweled bwystfil yn "gwneuthur rhyfeddodau mawrion, hyd onid yw yn peri i dân ddisgyn o'r nef i'r ddaear yn ngolwg dynion."

Y mae Mr. G. ab. Dewi, tua diwedd ei ysgrif, yn tosturio fod dynion yn rhoddi coel i "ysbrydion cyfeiliornus," megys Joseph Smith a Mahomet, ac i "athrawiaethau cythreuliaid;" yr hyn bethau, medd efe, y mae Paul, yn 1 Tim. iv, 1, yn hollol ddadymchwelyd. Ond, os darllena ein gohebydd y ddwy adnod ganlynol, caiff wybod fod y rhai sydd yn "rhoddi coel i ysbrydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau cythreuliaid," yn "gwahardd priodi, ac yn erchi ymattal oddiwrth fwydydd." Fe wyr pawb nad yw Saint y Dyddiau Diweddaf yn gwahardd priodi, nac yn ymattal oddiwrth fwydydd; ac, o ganlyniad, y mae yn eglur nad hwy yr oedd Paul yn ddesgrifio.

Y peth diweddaf a nodwn yn ei ysgrif yw y sylwadau sydd yn ei diwedd. "Dyweda y Seintiau," ebe ef, "eu bod yn bwrw allan gythreuliaid: pe gallent wneyd hyn (yr hyn yn *sicr* nis gallant), ni fyddai y byd yn cael ei lesâu drwy hyny, gan eu bod yn cael eu gollwng yn *rhyddion*; am hyny, gallent fyned i ereill." Y mae yn amlwg oddiwrth hanes y lleng, pan y gofynant i Grist, "A ddaethost ti i'n dyfetha cyn yr *amser*," ynghyd â manau ereill, nad yw y cythreuliaid i gael eu rhwymo yn awr, ond yn unig eu bwrw allan; ac nid yw yn debyg y rhwymir hwy cyn rhwymir eu penaeth, sef ar ddechreu y mil blynyddoedd. Yr oedd Crist yn gadael y lleng i fyned i'r moch; ac nid mewn un man arall, y mae sôn am dano ef na'i ddyscyblion, pan yn eu ceryddu, eu bod yn eu rhwymo. Y mae Math. xii, 43—45, yn dangos y rhyddid y mae ysbryd aflan yn feddu wedi ei fwrw allan o ddyn. Desgrifir ef yn "*rhodio* mewn lleoedd sychion." Y mae Dewi yn dweyd y dylai y Saint eu dal a'u dangos; ond gorchymyn i'w bwrw allan yn unig a roddodd Crist, ac nid oes hanes yn yr ysgrythyr eu bod hwy yn weledig ychwaith. Pe buasai ein gohebydd yn cael, fel y sonia, y fath gyfleusdra ag i weled ysbryd yn rhwym yn nwylaw y Seintiau, a chael gofyn iddo yn ngeiriau Esaiah, "Pa bryd y sythiaist o'r nefoedd?" gallai yr ysbryd ei ateb mewn geiriau llawn mor ysgrythyrol, sef, pan ryfelais yn erbyn Michael a'i angylion (gwel Dad. xii, 7—9). Yn ei frawddeg olaf y mae Dewi yn dweyd fod y bobloedd yn gofyn am arwyddion, geill eu hysbysu i ddiafol unwaith

ofyn yr un pethau i Grist, a bod y Saint am eu cael hwynt i gredu trwy "ffolineb pregethu."

Yr eiddoch, syr, yn ostyngedig,

*Glan Teifi.* I. M.

[Gan nad oes ond ychydig o'r Saint wedi gweled yr ysgrif uchod o'u heiddo yn Seren Gomer, meddyliasom y gallai ei chyhoeddiad yn yr *Udgorn* hefyd fod yn gymmeradwy.—Gol.]

---

## DUW MAWR Y SECTARIAID.

Mae Duw gan y sectariaid, fry yn y drydedd ne',
Ac yma ar y ddaear, yn llon'd pob man a lle;
Mae'n llenwi uffern obry, a'r haul a'r lloer sydd fry,
A hyn ar bob amrantiad, er syndod mawr i mi!

Nid oes na llun na delw a ellir wneyd i'r bôd,
Ni fedd ar ben na llygad, na llaw, na chlun, na throed;
Mae ef yn Dduw disylwedd, a Thad sylweddau'r byd,
Yn Awdwr a Chynnaliwr y *chaos* mawr i gyd!

Mae'n fwy ei faint nâ'r ddaear, a'r moroedd maith i gyd,
Haul, lloer, sêr, a'r planedau, pe byddent oll ynghyd;
Ni fedd 'chwaith ar gyffiniau—ei ganol sy'n y nef,
A'i ganol yma hefyd—bôd rhyfedd iawn yw ef!

Mae da a drwg yn draphlith, yn cadw dirfawr lòl,
A bydoedd yn aneirif, oll yn ei anferth fol!
Amrywiaeth o elfenau, a bodau fyrdd diri',
Yn trigo yn eu geudod, sydd syndod mawr i mi!!

Pa le mae'r Duw yn trigo? O, yn y drydedd nef,
'Rym ninnau yno hefyd, os yn ei fola ef;
Os felly y mae credu, ffolineb hyll i dref,
Yw son fod tylwyth angeu yn myned ato ef.

Os yw y bydoedd ynddo, 'rym ninnau ynddynt hwy,
Ac felly ynddo yntau, a pheth sydd eisieu mwy?
Ffolineb sòn am nefoedd, i fyny fry yn mhell,
Na dim dedwyddol fanau,—nid oes dim eisieu gwell.

Mae pawb yn Nuw yn barod, yn ol eu credo hwy,
Ffolineb mawr pregethu am Grist a'i farwol glwy';
Er hyn rhaid wrth bregethwyr, a thalu cyflog fawr,
A gostwng pen a phlygu, i'r rhei'ny hyd y llawr.

Ac hefyd hwy weddiant, bob un o dan ei faich,
"O Arglwydd Dduw y lluoedd, dynoetha di dy fraich;"
"A thyred yma'th hunan i'n llwyr fendithio ni;"
"Yr ydym ni yn d'lodion, mae digon genyt ti."

Ffolineb dweyd "*dynoetha*" yr hyn erioed na fu,
A gwahodd gwrthrych atynt sydd *fwy na llon'd y ty*;
A phwy all fod yn *d'lodion*, a *thrigo ynddo ef*
Ac yntau'n *holl-gyfoethog*, ac yn y drydedd nef!

O Arglwydd Dduw y lluoedd, dwg bawb, yn wyn a du,
Yn fuan i'th adnabod trwy ffordd y cymmod cu;
Rhag iddynt yn y diwedd gael profi dial blin,
Pan ddelo'r dydd i'n barnu a'n profi ni bob un.

*Craig ddu.* JOHN RICHARDS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

"GADEWCH i chwi a minnau ysgrifenu llyfr," meddai rhyw fyfyriwr ieuanc wrth yr hen Ddr. Parr. "O'r goreu," ebe y doctor; "gosodwch i mewn bob peth a wn i, a phob peth na wyddoch chwithau, a bydd genym lyfr mawr."

GAN nad oedd neb yn cymmeryd sylw o Diogenes tra yr areithiai am rinwedd, efe a ddechreuodd ganu, a thyrfa fawr a ymgasglodd o'i amgylch i'w glywed;—"O Dduw," meddai efe, "gymmaint sydd yn parchu ffolineb o flaen doethineb!"

Y BLAENAF o'r holl rinweddau yw diniweidrwydd, y nesaf gwylder. Os alltudiwn wylder o'r byd, efe a gymmera gydag ef hanner y rhinweddau sydd ynddo.

Y FFORDD hawddaf i ddyfod yn gyfoethog, yw cyfyngu ein dymuniadau, ac nid helaethu ein meddiannau.

---

TALIADAU O ION. 9 HYD ION. 23.—Sir Fynwy, £6 9s 9c; Sir Gaerfyrddin, £9; Tongwyrddlas, £2; Dowlais, 7s 9½c; Georgetown, £1; Merthyr, 17s; Pendaren, 9s 6c.

☞ Goreu pa amlaf y byddom ni yn derbyn taliadau, a goreu pa fwyaf a dalo y rhai hyny sydd yn llesg. Ofnwn y bydd ymddygiad rhai yn eu gwthio o'r eglwys: mae rhai yn agos addfed i hyny eisoes.

YMWELIAD J. TAYLOR.—Mae yn ddrwg genym na chawsom le i roi hanes ymweliad yr Apostol Taylor â ni yn Merthyr, ac â'r Saint yn Nghymmanfa Tredegar. Cafwyd dysgeidiaeth werthfawr oddiwrtho yn y ddau le, a chofir yn hir am ei bresennoldeb.

"J. M."—Gyrwch at ddosparthwr y sir, ac nid yma.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr-Tydfil;*" ond na ddanfoner ynghylch dim arall.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 3.] CHWEFROR 8, 1851. [PRIS 1g.

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, A GYNNALIWYD YN NINAS Y LLYN HALEN FAWR, TALAETH DESERET.

[PARHAD O DUD. 27]

*Dydd Sadwrn, dau yn y prydnawn.*—Galwyd y gymmanfa i drefn gan W. Snow; ac wedi canu, gweddiwyd gan W. Snow, ac yna canwyd drachefn.

Traddododd yr Henuriad O. Hyde ddarlith i Anrhydeddus Ganghellydd a Bwrdd o Raglawiaid Prif-athrofa Talaeth Deseret, o flaen y gymmanfa, ar ddysgeidiaeth.

Nid yw dysgeidiaeth yn cael ei chyfyngu i lythyron yn unig, ond hefyd i ymlid ymaith bob tywyllwch; a phan fyddo dyn wedi cyrhaedd y pen uchaf, gall wedi'n ymheulo yn y goleuni, heb ddim i dywyllu ei olygon. Mae pob dyn dan rwymau i gyfranu y wybodaeth ag y mae yn fwynhau, i ereill. Mae y plentyn a enir i'r byd hwn, yn debyg i lèn o bapyr gwyn, yn barod i dderbyn unrhyw argraffiad; ac y mae genym ni achos i fod yn ddiolchgar oblegid lle ein genedigaeth, ei fod mewn gwlad lle y mae gwybodaeth wedi deillio o'r nefoedd trwy weinidogaeth angel.

Anrhydedd mawr sydd wedi ei roddi i rieni pan y cânt foldio a ffurfio y meddwl hwnw, yr hwn a osodir yn y tabernacl gan yr Hollalluog ei hunan, fel y byddo yn cael ei addasu i lanw y cylch a fwriedir iddo. Dyma yr anrhydedd o fagu plant i fyny er gogoniant i'n Tad sydd yn y nefoedd; ac y mae genym ni gyf-

leusdra i'w magu hwynt, a'u cyflwyno i'n Tad a'n Duw, oddiwrth yr hwn yr ydym wedi derbyn y gwystlau hyn.

Mae dyn yn creu meddylddrychau trwy amgylchiadau allanol, ac mae yn rhaid fod rhyw gyfrwng i drosglwyddo ei feddylddrychau i ereill, neu mewn cymhariaeth byddent yn afreidiol. Mor bleserus yw i ddyn pan yn cael gafael ar ryw feddylddrych ardderchog, i allu ei drosglwyddo i ereill. Fe allwn esgor ar feddylddrychau mor ysplenaidd â'r nefoedd, mor ddysclaer â'r bodau sydd yn troi uwchben; ond pan fyddom am drosglwyddo ein meddylddrychau, mae ein hiaith yn anmherffaith. Yr oedd amser pan oedd Duw yn siarad â'n tad Adda yn ngardd Eden, mewn iaith mor berffaith a phur â'r dwfr sy'n dylifo yn y cornentydd oddiamgylch. Ar ol hyny, Duw a gymmysgodd yr iaith dros wyneb yr holl ddaear. Etto, mae iaith anmherffaith yn well nâ bod heb un oll. Pe gallech ddwyn yr awduron goreu sy'n awr yn fyw, ynghyd, hysbysent eu meddylddrychau mewn geiriau gwahanol, a chyfaddent oll fod ein hiaith yn anmherffaith; etto rhaid i ni ddefnyddio yr un sydd genym, mewn trefn i gyflawni yr hyn sydd o'n blaen, a'n rhwymedigaethau y naill i'r llall, trwy ddefnyddio yr offerynau sydd eisoes yn ein plith.

Dylai rhyw gyfran o'ch meddiannau gael ei defnyddio at ddysgu eich plant, er eu haddasu i fod yn gynnrychiolwyr da. Gadewch iddynt i fod yn llawn o oleuni a gwybodaeth, ac yna gallant ateb unrhyw beth. Mae yr ysgolfeistr yn llanw cylch dyrchafedig ar faes y gweithio. Fy nheimladau i ydynt, cynnysgaethwch eich athrawon â thâl ddigonol, ac yna ni fydd iddynt arbed un trafferth i addysgu eich plant. Os cynnaliwch yr athrawon, bendithiant chwi yn ol; ac y mae'r bobl hyny sydd yn talu yr ysgolfeistr yn dda, wedi eu harfaethu i lwyddo; a bydded i chwi gynnyddu mewn gwybodaeth, nes y bo anwybodaeth yn cael ei llosgi i fyny mewn tân nefol; caniataed Duw mai felly y byddo. Amen.

Dywedodd y Llywydd Young—Yr ydym wedi cael ein difyru yn fawr gan yr Henuriad Hyde; y mae wedi rhoi allan y bwyd wyf fi yn garu. Teimlwyf mai fy nyledswydd yw llefaru ar ran y Drysorfa Ymfudol Barhaus at y tlodion. Gwnaethom ryfeddodau y flwyddyn ddiweddaf—cyflawnasom beth da wrth godi 5,000 o ddolars, y rhai a ddanfonwyd yn ol i'r Taleithiau tuag at y tlodion. Gweddiwyd gan yr Henuriad P. P. Pratt.

*Dydd Sul, Medi 8, deg o'r gloch.*—Galwyd y gymmanfa i drefn gan y Llywydd Young, gan ddangos i'r esgobion a'u cynghorwyr eu dyledswydd i edrych ar ol eu gwahanol ddosparthiadau, a dyledswydd swyddogion y Dalaeth a'r Swydd i gadw trefn dda oddiamgylch yr adeilad.

Canodd y côr y "Prodigal Son." Gweddiwyd gan G. A. Smith. Canwyd.

Dywedodd yr Henuriad G. A. Smith—Y materion sydd yn cynnyg eu hunain i sylw y gymmanfa hon, yw dwyn gerbron wahanol awdurdodau yr eglwys, er gweled os yw y gymmanfa hon yn eu cymmeradwyo i aros yn eu cymdeithas, ac yna cyflwynwyd Brigham Young i sylw, yr hwn, ar gynnygiad, a gymmeradwywyd fel Prif Lywydd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf—hefyd fel Prophwyd, Gweledydd, a Dadguddiwr; ac hefyd H. C. Kimball fel ei brif Gynghorwr, a Willard Richards ei ail Gynghorwr, Hanesydd, ac Ysgrifenydd yr Eglwys.

Ar gynnygiad, cymmeradwywyd Orson Hyde fel Llywydd, a P. P. Pratt, O. Pratt, W. Woodruff, J. Taylor, G. A. Smith, A. Lyman, E. T, Benson, C. C, Rich, L. Snow, E. Snow, ac F. D. Richards, fel aelodau o gorwm y Deuddeg Apostol. Cymmeradwywyd John Young fel Llywydd Corwm yr Archoffeiriaid; hefyd R. Cahoon a G. B. Wallace fel ei Gynghorwyr.

Cymmeradwywyd Joseph Young fel Prif Lywydd y Degau-a-thrugain, hefyd Levi W. Hancock, Henry Herriman, Zera Pulsipher, Albert P. Rockwood, Benjamin L. Clapp, a Jedediah M. Grant, fel Llywyddion holl Gorwmau y Degau-a-thrugain.

Cymmeradwywyd D. Spencer fel Llywydd y Stake hon o Seion, a David Fulmer a W. Snow fel ei gynghorwyr.

Cymmeradwywyd N. K. Whitney fel Esgob Llywyddol Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.

Cymmeradwywyd H. G. Sherwood fel Llywydd, ac Eleazer Miller, John Kempton, Heman Hyde, Lewis Abbott, W. W. Major, Levi Jackman, Elisha H. Groves, Ira Eldridge, John Vance, Edwin D. Woolley, fel aelodau o'r Uchel Gynghor; a phenderfynwyd fod John Parry i fod yn aelod o'r unrhyw, yn lle Thomas Grover, yr hwn sydd wedi myned i'r Taleithiau.

Cymmeradwywyd John Nebeker fel Llywydd ar Gorwm yr Archoffeiriaid, hefyd James H. Smith ac Aaron Sceva fel ei Gynghorwyr.

Cymmeradwywyd Joseph Parker fel Llywydd ar Gorwm yr Offeiriaid, hefyd Simeon Howe a James A. Chesney fel ei Gynghorwyr.

Cymmeradwywyd M'Gee Harris fel Llywydd ar Gorwm yr Athrawon, hefyd John Vance a Reuben Perkins fel ei Gynghorwyr.

Cymmeradwywyd W. C. Smithson fel Llywydd ar Gorwm y Diaconiaid, hefyd Gehiel M'Connell and Gilburd Summe fel ei Gynghorwyr.

Yna cyfododd y Llywydd Brigham Young, ac a alwodd sylw y gymmanfa at yr egwyddor uniongyrchol o ddegymu. Yr ydym wedi pregethu, a siarad, ac ysgrifenu yn ei chylch am hir amser; ymdrechaf etto roddi fy ngolygiadau arni, a'r pethau ereill ag sydd; cyflwynaf i chwi fy ngwybodaeth, fel y galloch ddeall, a chael eich hadeiladu.

Yn y lle cyntaf, yr ydym yn rhwym mewn dyledswydd i dalu ein degwm, y degfed ran o'r oll a feddwn: dyna yw yr hyn a ofynir oddiwrth y bobl hyn; ond y mae cymmaint o gwestiynau ac ammheuon, a barnau, nes y maent yn gadael yr egwyddor o ddegymu yn y tywyllwch; etto y mae yn syml ac yn rhwydd i'w deall, a gellir ei hamgyffred gan y gwanaf o'r holl Saint; er hyny, y mae dyryswch cyffredinol yn perthyn i'r ddyled sydd arnom, a elwir degwm. Yr ydym oll yn cydnabod y ddyled hono, ac yn foddlongar i danysgrifio tuag ati, ac arwyddo ymrwymiad yn ei chylch; ac etto nid yw llawer yn deall mai y ddegfed yw o'r oll a feddwn. Mae mor rhwydd i'w deall, ag yw anfoniad yr henuriaid allan i bregethu egwyddorion cyntaf yr efengyl, fel y caffo dynion eu hachub. Mae yr amser wedi bod, pan nad oeddech chwi a minnau yn deall yr egwyddorion eglur a rhwydd a ddarllenasom yn y Beibl; gellwch ddarllen am yr holl ordinhadau yn y Beibl, ac er hyny y mae llawer yn dywedyd, Nid ydym yn gwybod dim yn ei gylch; o leiaf dyna fel y mae'r byd Cristionogol yn ei osod allan, o herwydd nad oes oleuni ynddynt.

Er egluro y wir ddyled o ddegwm, dychymmygaf rai cymmeriadau er ei dwyn o flaen eich meddyliau. Dywed rhai eu bod yn myned i dalu eu degwm mewn cynnyrch, ac nid mewn gwaith; a dywed rhai eu bod yn talu y pummed yn lle y degfed. Nid oes un dyn, meddaf, erioed wedi byw i fyny i'r egwyddor o ddegymu. Esgusodaf lawer, oblegid eu bod wedi rhoddi y cyfan, ac yna nid

yw y gweddill wedi rhoddi hyd y nod y degfed ran a deugain o'u degwm; ac yn ol pob tebygolrwydd, nid oes mwy nag un mewn mil o ddolars wedi bod yn ddyledus fel degwm, yn nheyrnas Dduw. Yr wyf fi wedi sylwi mor bell ag y gwn, nad ydys, fel peth cyffredinol, wedi byw i fyny i gyfraith y degwm. Mae y rhai hyny sydd wedi gweithredu yn union fel Saint y Goruchaf Dduw, ac fel gweision yr Arglwydd, wedi bod yn barod i roddi yr oll a feddent; rhaid i ddynion ddyfod i ddealltwriaeth, ac yna byw i fyny iddi.

Cymmeraf yr holl gydwladoldeb, ac a'i harddangosaf megys un dyn, yr hwn a alwaf yn Mr. A., aelod o'r Eglwys: af yn mlaen ato, a dywedaf, Mr. A., gofynir degwm oddiwrthych, er cynnorthwyo i adeiladu temlau, porthi y tlodion, y gweddwon a'r amddifaid, a phob peth arall a ofyno y gyfraith; rhoddwch chwi y ddegfed o bob peth sydd genych, er adeiladu teyrnas Dduw ar y ddaear, er cynnal yr offeiriadaeth, ac er meithrin y deyrnas. Mae Mr. A. yn ymwneyd ag amryw oruchwylion, marsianda, masgnachu, amaethu, a chodi llafur ac anifeiliaid; yna ymneilldua i'w anneddle wledig, gyra yn ei gerbyd, a chanddo ddigon o amser segur; yna mae yn myned at yr eingion, gweithle'r saer, &c., ac yn llanw amrywiol o grefftau, sefyllfaoedd, a chymmeriadau. Mae Mr. A. yn dechreu efo can mil o ddolars, fel meddiant dechreuol. Mr. A., dyna ddeg mil o ddolars yn ddyledus oddiwrthych chwi, y rhai sydd arnom eisieu y dydd heddyw. Y mae yn eu talu, ac y mae ganddo ar ol naw mil o ddolars. Mae yn rhaid i bob dyn wneyd rhywbeth; nid oes caniatâd i'r dioglyd fod yn Seion—rhaid i bob dyn fyned i weithio—nid oes raid i neb guddio ei dalent mewn napcyn, eithr ei gosod ar llog. Mae Mr. A. yn myned i brynu llwythi o farsiandiaeth, anifeiliaid, ceffylau, a ffermydd a gynnygir ar actiwn; gosoda allan ei 90,000 o ddolars fel arian prynu, ac fe ennilla efallai 410,000 o ddolars, gan wneyd 500,000 mewn un wythnos (gellir yn rhesymol dybied felly)—yna, dyna 40,000 o ddolars yn rhagor o ddegwm yn ddyledus, i dalu mewn i ystordy yr Arglwydd, ac y mae'r gweddill yn myned at ei arian dechreuol.

Yn nesaf gwelwn Mr. A., a'i arian i gyd wedi darfod, yn myned i'r kanyon ar ol llwyth o goed, neu i'r felin am rywbeth i fwyta; gwelwn ef ddeg diwrnod yn trafferthu ac yn gweithio—mae mewn dyled o'r degfed ran o'i amser ac o waith ei weddau: pan fyddo

wedi gweithio naw diwrnod iddo ei hunan, yna cymmered ei weddau a gweithied un diwrnod tuag at y gweithiau cyhoeddus.

Gwelwn ef yn nesaf yn saer coed; gosodir ef i weithio ar y gweithiau cyhoeddus, a gosodir pob degfed dydd i lawr iddo yn lle degwm.

Gwelwn ef yn nesaf yn ffermwr, yn codi gwenith, anifeiliaid, ceffylau, defaid, &c.; eistedda i lawr, a chyfrifa pa beth y mae wedi godi—dywedwn 100 bwshel o wenith, yn ol ugain diwrnod o waith; yna cymmerwn ddeg bwshel o wenith tuag at ei ddegwm. Os yw efe wedi gwario 150 o ddiwrnodau o'i amser wrth farchogaeth ac ymbleseru, y mae mewn dyled o bymtheg diwrnod o waith i'r Arglwydd—os yw efe yn gwastraffu ei amser ei hun, nid oes hawl ganddo i wastraffu amser yr Arglwydd. Os oes ganddo 100 o ddefaid, y mae yn talu y ddegfed ran o honynt; ac os oes cynnyrch, rhaid iddo ddwyn i mewn y degfed ran o'i wlan, a'r degfed ran o'i gynnyrch, neu dalu am danynt, un o'r ddau. Ette, mae ganddo rai gwartheg, ac y maent yn rhoddi rhywfaint o laeth; pa le y maent? mae arnom eisieu y degfed ran o honynt, gyda'r degfed ran o'ch ymenyn, caws, a'r degfed ran o'ch lloi. Os oes gan Mr. A. hanner cant o hwyaid, yr ydym am gael y degwm o honynt, yr hyn yw pump, ynghyd â degwm o'r wyau; os ydych yn ei weled yn beth rhy fach i'w roi, rhowch y cyfan—nid yw yn rhy fach genym ni. Yr ydym am y degwm o'ch gwyddau, ac o'r oll o'ch cynnyrch; gall edrych yn anhael i chwi—os felly, cyflwynwch drosodd y cyfan o honynt.

[Mae y gweddill o'r hanes wedi ei golli neu ei roi o'r golwg. Mae derbyniad y Llywydd Hyde a'i gwmpeini wedi ei adael allan y tro hwn o ddiffyg lle; hefyd yr Epistol. Ymddangosant yn ein nesaf.]—*Frontier Guardian.*

---

## TESTAMENT Y DEUDDEG PATRIARCH, SEF MEIBION JACOB.

[*Parhad o dud.* 32.]

### TESTAMENT REUBEN.

Gwrando Reuben hen yn traethu
Am saith ysbryd a roed iti,
At wyth ereill cyfeiliornus,
Sy'n denu dyn i fyw'n rhyfygus.

TESTAMENT Reuben, a wnaeth efe i'w blant wrth ei farwolaeth; mewn perthynas i'r pethau oll ag y rhoddes efe orchymyn i'w

blant o'u plegid cyn ei farwolaeth, yn y 125 flwyddyn o'i fywyd, dwy flynedd ar ol marwolaeth Joseph: ei blant, a phlant ei blant, a ddaethant i ymweled ag ef, ar ei glaf wely, ac efe a ddywedodd wrthynt,

Fy mhlant, wele fi yn marw, ac yn myned i ffordd fy nhadau; a phan welodd efe ei frodyr, Judah, Gad, ac Aser, efe a ddywedodd, Codwch fi, fy mrodyr. fel y mynegwyf i chwi ac i'm plant, yr hyn a guddiais i yn fy nghalon; canys yr wyf weithian yn tynu tua fy hir gartref. Yna, gan sefyll i fyny, efe a ddywedodd, Gwrandewch fi, fy mrodyr, a chwithau fy mhlant, rhoddwch glust i eiriau eich tad Reuben; a deliwch sylw, beth yr ydwyf yn ei roddi tan eich gofal.

Wele, gorchymyn yr ydwyf y dydd heddyw, gerbron Duw y nefoedd, na byddo i chwi rodio yn anwybodaeth ieuenctyd a godineb, yn mha un yr aethum i yn rhy bell, gan halogi gwely fy nhad; canys yn ddiau yr wyf yn hysbysu i chwi, ddarfod i'r Arglwydd fy nharo i â dolurus bläau yn fy ngewynau, dros yspaid saith mis; ac fe ddarfuasai am danaf, oni buasai i'm tad Jacob weddio droswyf at yr Arglwydd, o herwydd yr ydoedd efe yn meddwl fy lladd i. Deg mlynedd a thrugain oed oeddwn, pan wnaethum yr hyn oedd ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, a saith mis y bum yn glaf i farwolaeth, ac â chalon rydd dros saith mlynedd, myfi a'm poenydiais fy hunan o flaen yr Arglwydd; ni yfais win, na diod gadarn, ac nid aeth cig rhwng fy ngenau, ychwaith ni phrofais fara blasus, ond galaru am fy mhechod, canys mawr oedd, ac na fydded cyffelyb iddo yn Israel. Ac yn awr, fy meibion, gwrandewch arnaf, fel y dangoswyf i chwi yr hyn oll a welais i yn nghylch y saith ysbryd cyfeiliornad, yn fy edifeirwch. Belial sydd yn rhoddi saith ysbryd yn erbyn dyn, y rhai ydynt ffynnonau gweithredoedd ieuenctyd; saith ysbryd a roddwyd i ddyn yn ei greadigaeth, trwy ba rai y gweithredir ei holl weithredoedd ef. Y cyntaf, ydyw *ysbryd y bywyd*, a pha un y crewyd ei hanfod ef. Yr ail, yw *ysbryd gweled*, trwy ba un y mae dysgeidiaeth yn dyfod. Y trydydd, yw *ysbryd arogliad*, trwy ba un y mae hoffder yn dyfod, wrth dynu i mewn yr awyr, a'i hanadlu hi allan drachefn. Y pedwerydd, yw *ysbryd lleferydd*, a pha un y gwneir gwybodaeth. Y pummed, yw *ysbryd archwaethu*, trwy ba un y mae ymborthiad yn dyfod ar y pethau a fwytaer neu a yfer, a thrwyddynt y cenedlir nerth, o herwydd sylwedd y nerth sydd yn y bwyd. Y chwechfed, yw *ysbryd had a chenedliad*, trwy ba un y mae yn dyfod chwant i bleserau, o herwydd hyn, yr olaf o'r greadigaeth ydyw, a'r cyntaf o ieuenctyd, am ei fod yn llawn anwybodaeth, ac anwybodaeth sydd yn arwain y rhai ieuainc, megys un dall, i'r ffos; neu, megys yr ŷch i'r preseb. Yn mysg y rhai hyn, y mae y seithfed *ysbryd, yr hwn yw cwsg*, gyda pha un y crewyd diflaniad o naturiaeth, a delw marwolaeth. Gyda yr ysbrydoedd hyn, y mae yn gymmysgedig ysbrydoedd cyfeiliorni, o ba rai, Y cyntaf, yw *ysbryd trythyllwch*, yr hwn sydd yn gorwedd yn y natur

a'r synwyrau. Yr ail, ydyw *ysbryd annigonolrwydd*, yr hwn sydd yn gorwedd yn y bol. Y trydydd, yw *ysbryd cynhen, neu ymryson*, ac yn gorwedd yn yr afu. Y pedwerydd, yw *ysbryd ymhoywi, neu ymawchu*, fel y byddo yn gweled ei hun yn hardd trwy ormodedd. Y pummed, ydyw *ysbryd balchder*, yr hwn sydd yn annog i feddwl dros bethau mawrion, neu i dybied yn dda o hono ei hunan. Y chwechfed, ydyw *ysbryd gwag ogoniant*, lle mae dyn yn gloddesta ei hunan, ac yn chwennych gwneuthur chwedl fawr mewn perthynas i'w genedl ei hun, a'i gydnabyddiaeth. Y seithfed, yw *ysbryd anghyfiawnder*, yr hwn sydd yn cynhyrfu i fyny y gwyniau, fel y byddo i ddyn gyflawni trachwantau pleserus y galon; canys anghyfiawnder sydd gyda yr holl ysbrydoedd ereill, gan gymmeryd twyll gyda hwy. Ac â'r holl ysbrydoedd yma yr ymgyfathracha yr *wythfed ysbryd, sef, cwsg a syrthni mewn camgymmeriad a dychymmygion*, ac felly eneidiau ieuainc sydd yn darfod am danynt, am fod eu meddyliau wedi eu tywyllu, ac yn guddidig oddiwrth y gwirionedd, ac heb ddeall cyfraith yr Arglwydd: ac hefyd heb ufyddhau i athrawiaeth eu tadau, fel y dygwyddodd i mi yn fy ieuenctyd,

Ond yn awr, fy mhlant, cerwch wirionedd, a hyny a'ch ceidw; gwrandewch ar Reuben eich tad, ac na adewch i'ch llygaid redeg i dremu ar ol gwragedd, ac na fyddwch yn unig gyda gwraig briodol; nac ymgeisiwch chwaith beth a fyddo gwragedd yn ei wneuthur, canys oni buasai i mi weled Bilha yn ymdrochi ei hunan mewn lle dirgel, ni buasai i mi syrthio i'r mawr ddrwg hwnw; ond fy meddwl a redodd ar wraig noeth, hyd oni rwystrodd i mi gysgu nes darfod i mi weithredu y ffieidd-dra hwnw; a thra bu fy nhad Jacob gyda ei dad yntau, Isaac, yn Gader, yn gyfagos i Ephrata, tŷ o Bethlehem; Bilha a syrthiodd yn feddw, ac fel yr ydoedd hi yn gorwedd ac yn cysgu heb orchudd yn ei hystafell, minnau a aethum i mewn, ac wrth weled ei noethni hi, mi a weithredais anwiredd gyda hi, a chan ei gadael hi yn cysgu mi a aethum ymaith. Ond yn y man angel Duw a amlygodd fy'm drwg i'm tad Jacob, yr hwn pan ddaeth adref a alarodd drosof fi, ac ni chyffyrddodd â Bilha mwy. Gan hyny, nac edrychwch ar degwch gwragedd, ac na fyfyriwch ar eu ffyrdd hwy, ond rhodiwch â chalon syml yn ofn yr Arglwydd Dduw, gan ymarfer eich hunain ynghylch rhyw waith, trwy gadw eich hunain mewn astudrwydd, naill ai mewn dysgeidiaeth, neu ynghylch eich praidd, hyd oni roddo Duw i chwi wragedd a fyddo efe yn ei ewyllysio, rhag i chwi oddef megys ag y gorfu i minnau, canys ni feiddiais i edrych yn wyneb fy nhad hyd ddydd ei farwolaeth, na dywedyd wrth yr un o'm brodyr, gan gywilydd; a'm cydwybod yn fy nghnoi am fy mhechod, ïe, y dydd hwn. Ond fy nhad a'm cysurodd, gan weddio drosof ar yr Arglwydd, ar i'w ddigofaint ef gilio oddiwrthyf, ac felly darfu i'r Arglwydd ei hun, ddangos i mi: ac o'r amser hwnw allan, fe'm cadwyd i rhag pechu mwy.

Chwithau, fy mhlant, yn yr un modd ymgedwch at yr hyn yr

wyf yn ei fynegi i chwi, ac na phechwch chwithau; canys godineb sydd yn dystrywio yr enaid, ac yn achos i dynu at eulunod, o herwydd ei fod ef yn arwain y meddwl a'r dealltwriaeth i gyfeiliornad, ac yn dwyn dynion i'w beddau cyn eu hamser; canys godineb a ddyfethodd lawer dyn: ac er bod gwr yn henafgwr anrhydeddus, etto y mae yn watworgerdd o flaen Belial; ac hefyd o flaen meibion dynion. A Joseph, o herwydd iddo ymgadw oddiwrth wragedd a godineb, a glanhau ei feddyliau oddiwrth bob drwg, a gafodd ffafr gyda Duw a dynion; yr Aifft wraig a wnaeth lawer iddo ef, trwy arfer cymhorth dewiniaid, a thrwy gynnyg ei seigiau gwenwynllyd, ond amcan ei feddwl ef nis unodd ag un dymuniad niweidiol; ac oblegid hyn, Duw ein tadau a'i gwaredodd ef oddiwrth bob marwolaeth gweledig ac anweledig: canys os godineb ni chaiff feistroli eich meddyliau, ni lwydda Belial yn eich herbyn chwi.

Fy meibion, pethau niweidiol yw gwragedd, a phan fyddo arnynt eisieu nerth a gallu yn erbyn gwr, hwy a weithredant dwyll i'w dynu ef atynt drwy ddichell, a'r hwn a fetho ganddynt ei feistroli drwy nerth, hwy a'i gorchfygant ef drwy dwyll. Canys angel yr Arglwydd, yr hwn a'm dysgodd i, gan ddywedyd wrthyf o'u plegid hwy, fod ysbryd godineb yn eu meistroli hwy yn fwy nâ'r meibion, a'u bod hwy beunydd yn arfer eu hunain yn eu calonau yn erbyn gwyr; Yn gyntaf, gwneuthur i'w meddyliau gyfeiliorni, trwy iddynt wych-wisgo eu hunain; ac yna tywallt eu gwenwyn iddynt trwy eu golygon, ac yna yn eu cwbl ddal hwy yn garcharorion â'u harferion. Canys gwraig nid yw abl i orchfygu gwr.

Gan hyny, fy meibion, ffowch oddiwrth odineb, a gorchymynwch i'ch gwragedd a'ch merched, na byddo iddynt addurno neu wychu eu penau; ac ewyllysiwch iddynt geryddu eu golygon; pob merch sydd yn ymdrin yn dwyllodrus yn y pethau hyn, sydd yn haeddu cerydd yn y byd a ddaw; canys yn y modd hyny y twyllwyd y gwiliedyddion cyn y diluw, cyn gynted ag y gwelsant hwy, fe ddarfu iddynt syrthio mewn cariad â'u gilydd, fe ddarfu iddynt feichiogi ar weithrediad yn eu meddyliau, a'u troi eu hunain ar dull dynol, ac a ymddangosasant iddynt eu cymdeithas gyda eu gwyr; a'r gwragedd wrth feichiogi ar y dymuniant o honynt yn nychymmygion eu meddyliau, a esgorasant ar y cewri; canys y gwiliedyddion a ymddangosasant iddynt hwy â'u huchder hyd y nefoedd.

Gan hyny, cedwch eich hunain rhag godineb, ac os amcenwch gael meddwl eglur, cedwch eich hunain oddiwrth wragedd, a gwaherddwch iddynt hwythau gyfeillach gwyr, fel y byddo iddynt gadw eu meddyliau yn lân; canys er nad ydyw gwastadol gyfeillach bob amser yn gweithredu drygioni, etto, y mae yn magu anfeddyginiaethol golynau iddynt hwy, ac i ninnau gywilydd tragywyddol o flaen Belial; o herwydd nid oes mewn godineb, na dealltwriaeth, na duwioldeb ynddo, a phob cenfigen sydd yn preswylio yn y dymuniad o hono: ac o achos hyny y bydd

i chwi genfigenu wrth feibion Lefi, a cheisio ymddyrchafu uwch eu llaw hwy, ond ni byddwch chwi abl i ddwyn i ben, canys Duw a ymddial drostynt hwy, a chwi a fyddwch meirw o farwolaeth beryglus. O herwydd i Lefi ac i Juda y rhoddes Duw y llywodraeth, ac i minnau, Dan, a Joseph, y caniatâodd fod yn dywysogion gyda hwynt. O herwydd hyny, yr ydwyf yn gorchymyn i chwi wrando ar Lefi, canys efe a gaiff adnabod cyfraith yr Arglwydd; ac a esyd allan farn, ac a offryma aberthau dros Israel, hyd gyflawn amser Crist yr Archoffeiriad mawr, canys yr Arglwydd a'i llefarodd.

Ac yr ydwyf finnau yn gorchymyn i chwi trwy Dduw y nefoedd, ar i bob un o honoch ddelio yn uniawn â'i gymmydog, a glynu wrth Lefi mewn gostyngeiddrwydd calon, fel y byddo i chwi dderbyn y gyfraith allan o'i enau ef; canys efe a fendithia Israel a Juda.

A Duw a ddewisodd Juda i fod yn frenin ar yr holl bobl, gan hyny, mawrhewch ei had ef; canys efe a fydd marw drosoch chwi yn y frwydr, yn gystal yn weledig ac yn anweledig, ac a deyrnasa drosoch byth ac yn dragywydd.

Yna Reuben, gwedi iddo roddi y gorchymynion hyn i'w blant, a'u bendithiodd hwynt, ac a fu farw; a hwy a'i rhoddasant ef mewn arch, ac a'i cariasant ef allan o'r Aifft, ac a'i claddasant ef yn Hebron, yn yr ogof ddwbl lle yr hunodd ei dadau.

*(I'w barhau.)*

---

## PWY SY'N PROFFESU GWYRTHIAU?

ATEBWN mai y rhai hyny sydd yn treio eu gwadu—y sectariaid! Cawsom afael yn ddiweddar yn nhud. 64 o un o gyfrolau yr "Efangylydd," a gyhoeddid gynt gan yr Independiaid yn Llanymddyfri; cawn gopïo o honi yr hanes a ganlyn:—

"IACHAD MISS FANCOURT.

"Mewn perthynas i iachad Miss Fancourt, yr hyn a ystyrir gan lawer yn wyrthiol, nyni a roddwn ger gwydd ein darllenyddion yr hanes yn wirioneddol, fel na raid i neb betruso o'i herwydd.

"Miss Fancourt sydd ferch i'r Parch. J. Fancourt, o Gaerludd, ac a gymmerwyd yn glaf yn mis Tachwedd, 1822. Yr oedd gwaew mawr trwy ei holl aelodau, ac ar droion byddai ei phoen yn dra angherddol. Amryw feddygon a ymwelasant â hi o bryd i bryd, a defnyddiwyd pob moddion er ei hesmwythau, ond yn gwbl ofer. Aeth tua glan y môr ar droion, ond dychwelai yn ol yn yr un sefyllfa; ac aeth mor wan yn y diwedd fel braidd y gallasai symud un droed o flaen y llall. Ac er pob ymdrechion i'w gwellhau, yr oedd yn glaf iawn, ac yn y loesion mwyaf pan y cynnygai ysgogi. Nos Fercher, yn mis Hydref, 1830, galwodd

cyfaill yn y tŷ er ymweled â hi, a phan yr oedd y cymdeithion yn ymadael â'r ystafell lle yr oedd hi, gwnaeth ei chyfaill, y Parch. Mr. G., ryw esgusodion i aros yn ol. Eisteddodd yn ei hymyl, ac wedi siarad rhyw bethau, cyfododd, gan ddywedyd, Y maent yn fy nysgwyl i swper; estynodd ei law iddi, ac wedi dywedyd rhyw beth am ei hafiechyd, ychwanegodd, Y mae yn drueni mawr gweled neb yn cael ei gaethiwo yn y wedd hon; atebodd hithau, Y mae wedi ei anfon mewn trugaredd. A ydych chwi yn credu hyny, eb efe, ac yn credu y gall yr un drugaredd e ch adferu chwi? atebai hithau, Ydwyf. A ydych chwi, ychwanegai Mr. G., yn credu y gall Iesu iachau fel yn yr amserau gynt? Ydwyf. A ydych chwi yn credu mai anghrediniaeth sydd yn rhwystro hyny? Ydwyf. Ymddangosai Mr. G. y pryd hyn, fel yn ymdrechu â Duw mewn gweddi daer; Yna, ebe efe, cyfodwch, a rhodiwch, deuwch at eich teulu. Ymaflodd yn ei llaw, a gweddiodd am i Dduw ogoneddu enw ei Fab Iesu. Hithau a gyfododd mewn cryfder, a pheidiodd ei holl boenau, a rhodiodd lawr i'r grisiau, tra y gweddiai Mr. G., Arglwydd, trugarha wrthym; Crist, trugarha wrthym. Daeth ei holl esgyrn i'w lleoedd, a'i chnawd, yr hwn ydoedd rydd o'r blaen, a galedodd fel y mae mewn dyn iach."

---

## LLYFRGELL FORMONAIDD.

Mae Congress, yn ei sesiwn ddiweddaf, wedi apwyntio pum mil o ddolars er dechreu llyfrgell at wasanaeth dinasyddion Tiriogaeth Utah, ac y mae John M. Bernhisel, Ysw., un o'r dirprwywyr dros Utah yn y Congress, wedi ei benodi i brynu y llyfrau. Mae y boneddig caruaidd a rhagorol hwn yn y ddinas hon yn awr, yn prynu mewn actiwnau a llefydd ereill, lle bynag y gallo ddefnyddio yr arian yn fwyaf manteisiol. Derbynia hefyd lyfrau a chyhoeddiadau ereill yn rhoddion, oddiwrth awdwyr, cyhoeddwyr, ac ereill, i'r un perwyl.

Mae hon yn anturiaeth ryfedd a dyddorawl. Mae y Mormoniaid diystyredig, ar ol cael eu gyru o Illinois, wedi sylfaenu amherodraeth yn nghalon y cyfandir, mor eang, mor gymmeradwy, nes y mae Congress wedi rhoi llywodraeth diriogaethol iddynt, wedi penodi pen yr eglwys yn lywodraethwr y diriogaeth, ac wedi gwneyd y ddarpariaeth hyn tuag at lyfrgell gyhoeddus. Mae yn debygol mai y Drefedigaeth Unol, y fynyd bresennol, yw y decaf, y fwyaf trefnus, a'r fwyaf llwyddiannus yn y byd. Mewn deg mlynedd etto, bydd Utah yn Dalaeth gyfoethog a galluog, yn meddu trefn-lywodraeth a sefydliad crefyddol mor hynod â dim

erioed a fodolodd yn yr amseroedd sydd wedi pasio. Mae y Mormoniaid wedi cael eu tymmor o erlidigaeth a merthyrdod—y maent wedi dal yn ffyddlawn at eu ffydd. Ar ol cael eu gyru o un ddinas, ac oddiwrth un deml, y maent wedi sylfaenu rhai llawer mwy. Mae eu halltudiad o Illinois, gan werin ormesol a cham-arweiniol, wedi rhoi iddynt wlad eang o gyfoeth diderfyn, ac i'r cyfundeb hwn diriogaeth bresennol a thalaeth ddyfodol, ag a fydd yn mhen ychydig amser, yn ol pob argoelion, yn ymrestru gyda'r gwychaf.

Gyda'r fath gymmeriad, y fath ddiwalliant, arweiniad y fath ragluniaeth, a chyda sefydliad cenadol mor weithgar, ni fyddai yn rhyfedd, mewn canrif etto, i weled y ffydd Formonaidd wedi ymledaenu dros hanner ein cyfandir. Mae pethau mwy rhyfedd nâ hyna wedi dygwydd. Nid oes un gredo grefyddol yn wawdlyd, a dylem fod yn ofalus pa fodd yr ydym yn diystyru—llawer mwy, pa fodd yr ydym yn erlid ffydd ddewisol unrhyw bobl.—*The New York Picayune, Jan.* 4, 1851.

---

## "NATUR GWYRTHIAU" ETTO.

*Ateb i ofyniad Meurig yn* SEREN *Rhagfyr.*

MR. GOMER,—Dymunaf ganiatâd i hysbysu Meurig mai dweyd a wnaethum i, y gellid rhestri yr apostolion yn au-gristiau, &c., pan fethent gyflawni gwyrth, ar yr un tir ag y gellid rhestri rhai o "brophwydi" Saint y Dyddiau Diweddaf yn au-gristiau, pan fethent hwythau gyflawni gwyrth Darllened eich gohebydd yr ysgrif etto. Nid oedd fod yr apostolion yn methu ceryddu yr ysbryd mud a byddar, yn un prawf nad oeddynt yn medru cyflawni gwyrthiau, mwy nag y byddai methiad rhai o "brophwydi" y Saint i gyflawni y wyrth a ewyllysiai Mr. Gwilym ab Dewi, yn un prawf nad ydynt yn medru cyflawni gwyrthiau. Yr wyf yn deall fod y Saint yn hòni eu hawdurdod i bregethu, bedyddio, bwrw allan gythreuliaid, iachâu y cleifion, &c., yn yr un modd ag yr hònai y dysgyblion gynt. Pe gwelai Meurig neu Gwilym rai o'r Saint yn methu bwrw cythraul allan, neu yn methu iachâu rhyw un heb feddyginiaeth, oni fyddent yn barod i floeddio, "Twyllwyr," "gau athrawon," &c.? ond beth a ddywedant am yr apostolion yn methu ceryddu y cythraul, a Phaul yn cynghori Timotheus i ymarfer â meddyginiaeth er ei iachâu? Efallai yr atebent, Nid oedd gan yr apostolion ddigon o ffydd, ac ni ddarfu iddynt ymprydio a gweddio; hefyd, yr oedd ffydd Paul yn wan, neu nid oedd yr Arglwydd yn ewyllysio rhoddi iechyd. Ond, paham nad ellir caniatâu hyny i'r Saint,

druain? Dywedai Crist wrth ei ddyscyblion,—"Pe bai genych ffydd megys gronyn o hâd mwstard, chwi a ddywedech wrth y mynydd hwn, symud oddi yma draw, ac efe a symudai; ac ni bydd dim anmhosibl i chwi." Yn awr, fe welir mai ffydd yw y gallu gwyrthiol; ac yn ol ffydd dyn y mae Duw yn gweithredu, ond hefyd yn ol ei ewyllys ei hun. Y mae cyfle, o ganlyniad, gan Meurig a Gwilym ab Dewi i gyflawni gwyrthiau, os ydynt yn ddyscyblion iawn i Grist, ac os gallant weithredu ffydd ddigonol at hyny; ond nid yw yn debygol y buasai Duw yn eu cynnorthwyo i wneyd gwyrthiau er boddloni ceiswyr arwyddion. Digon tebyg, pe buasai y ddau hyn yn meddu digon o ffydd i wneyd gwyrth fechan, a phe buasai ereill yn bwgwth eu galw yn "dwyllwyr" os na chyflawnent rhyw wyrth fawr a chwennychent hwy, megys porthi pum mil â phum torth a dau bysgodyn, ond odid na chlywsid hwy yn ymddadleu fel hyn:—"Nid ydym ni, chwi wyddoch, ond aelodau cyffredin yn nghorff Crist; nid gwiw i chwi ddysgwyl i ni gyflawni yr hyn a wnai y fath ddynion â'r apostolion; ac hefyd nid oes hanes genym ond am ddau o'r rhai hyny (sef Pedr a Phaul) yn medru cyflawni gweithredoedd mawrion; ac hefyd nid iawn oedd dysgwyl iddynt hwy, chwaethach nyni, i gyflawni pethau mor rhyfedd â Christ: ac er y cyfan, yr ydych am i ni borthi pum mil yn wyrthiol, neu rywbeth o'r fath, a hyny hefyd er boddloni ceiswyr arwyddion!" Yn wir, buasent yn ymresymu yn gall iawn, ac yn unol â phob ysgrythyr, am a wn i. Ond gallai ddygwydd na fuasai y ddau hyn wedi eu cynnysgaethu gan yr Ysbryd Glan â'r ddawn i "wneuthur gwyrthiau," eithr â'r ddawn o "ymadrodd doethineb" neu "brophwydoliaeth" (gwel 1 Cor. xii); o ganlyniad, ni ellid dysgwyl iddynt wneyd un math o wyrth, chwaethach un fawr. Ofer fuasai dysgwyl iddynt "i iachâu," pe dawn "amryw dafodau" fyddai ganddynt; ac ofer fuasai dysgwyl iddynt "brophwydo," pe "dawn i iachau" fyddai ganddynt. Fe wel ein cyfeillion, ynte, mai ffolineb yw ceisio arwydd gan y Seintiau, pe buasai hyny yn ysgrythyrol a rheolaidd, heb wybod pa beth y maent yn fedru yn gyntaf. Ond y mae yn amlwg wrth ddarllen y bennod a gyfeiriasom ati, mai aelodau yn perthyn i gorff neu eglwys Crist, yw yr holl wahanol ddoniau hyny, ac nad ydynt i'w defnyddio ond er adeiladaeth y corff.

Ond rhag myned yn rhy faith, caf sylwi ar yr hyn y mae Meurig am wybod yn fwyaf neillduol genyf. Gofyna, pa un ai diffyg gallu neu ddiffyg ffydd oedd yr achos i'r apostolion fethu bwrw allan yr ysbryd mud a byddar. Dywedai Crist wrthynt, pe buasai ganddynt gymmaint â gronyn o had mwstard o ffydd, na fyddai dim yn anmhosibl iddynt; o ganlyniad, yr oeddynt yn ddiffygiol o ffydd pan fethent. Yr oedd eu *gallu* yn ymddibynu ar eu ffydd. Eu hanallu hwynt oedd anghrediniaeth; ac am anghredu yr oeddynt yn cael eu ceryddu gan Grist. Er hyny, dangosai Crist iddynt nad elai y rhyw hyny o gythreuliaid allan, oddieithr fod ganddynt ffydd gref, heb ympryd a gweddi. Gob-

eithiwyf y rhydd hyn foddlonrwydd i Meurig; os fel arall, ni bydd dim i mi i wneyd ond ail gynnyg.

Yr eiddoch, syr, yn ddiffuant,

*Glan Teifi.* I. M.

[Cyhoeddwyd yr ysgrif uchod o'u heiddo yn "Seren Gomer," am Ionawr, 1847.—GOL.]

## Y SAINT YN LLUNDAIN.

YMDDENGYS oddiwrth *Star* No. 3. fod y Saint yn y brif ddinas yn bwriadu cyflawni gwaith ardderchog yn ystod y flwyddyn hon. Mae llywydd y gynnadledd, sef Eli B. Kelsey, wedi newydd yru i Liverpool am y llyfrau canlynol:—600 Books of Mormon; 600 Doctrine and Covenants; 600 Hymn Books; 16.000 Kingdom of God, parts 1, 2, 3, and 4; 4,000 Divine Authority; 4,000 Remarkable Visions; 24,000 Divine Authenticity, Nos. 1, 2, 3, 4, 5, & 6; 500 Absurdities of Immaterialism; 500 Reply to Remarks on Mormonism; 1,500 New Jerusalem; 24 Vols. of Star, No. 11, bound, half calf; 24 Vols. Times and Seasons, No. 6, bound, half calf; 3,000 Great First Cause; 800 Taylor's Discussion; 1,000 Gibson's Discussion. Meddylia gymmeryd mantais ar "ffair fawr y byd" ag sydd i ddygwydd eleni yn Llundain, ac hefyd i agor siop yn agos i Paternoster Row, o ba le y gellir cael llyfrau y Saint i unrhyw gwr o'r wlad. Mae y dyn da hwn yn meddwl ffurfio rhyw fath o glybiau yn y cangenau, a gosod pawb i gyd-weithio, fel nad ystyria werthu y rhifedi anferth uchod o lyfrau ond gorchwyl hawdd. Mae yno 56 o gangenau, ac wedi i bob cangen wneyd ei rhan, meddylia y gall gyflawni ei amcan o werthu y llyfrau dan sylw, a thalu am danynt yn fisol i'r prif-ddosparthwr, yr hwn yw William Cook, 35, Jewin Street, City, London.

## YMADAWIAD YR HENURIAD ORSON PRATT.

AR y 22ain o Ionawr, darfu y Saint yn Liverpool gynnal cyfarfod i ffarwelo â'r Henuriad Orson Pratt, yn y Music Hall, Bold-street, lle y trefnwyd pob peth mewn modd tra medrus. Yr oedd y byrddau wedi eu gosod allan â gwydreidiau o ddwfr oer, *confectionery*, a ffrwythau, yn lle *tea*. Yr oedd y wledd yn rhad i'r Saint, gan fod y draul yn cael ei thalu gan ddau wr boneddig perthynol i'r gangen hono. Yn mysg yr ymwelwyr yr oedd yr Henuriaid Wallace, Gates, Wheelock, Phillips, Bell, a Rowan. Chwareuid y piano gan Miss Collinson. Yr oedd yr olygfa ar y Saint yn gariadus, a'u gwynebau yn dangos eu bod yn meddu dawn yr Ysbryd Glân. Yn ystod yr hwyr, anrhegwyd Pratt gan gangen Liverpool â thyst-lythyr o gymmeradwyaeth am ei weithredoedd gorchestol tra yn y wlad hon, er dangos yn Ninas y

Llyn Halen. Yr oedd wedi ei ysgrifenu yn gywrain ar femrwn, a'i addurno â *cornice* a rhôl wedi eu goreuro.

Ar y 29ain o Ionawr, yr oedd y llong *Ellen Maria*, ag oedd i ymfudo y Llywydd Pratt a'i gwmpeini, yn gadael y dock yn Liverpool; eithr arosodd hyd boreu dranoeth yn ei enau, pan yr aeth y brawd Pratt a'i deulu i mewn at y lleill; ac yna hwyliwyd ymaith yn ddioed. Yr oedd nifer y Saint Cymreig yn y llong hon yn 66. Y Duw Hollalluog a gadwo ei was Orson Pratt, a'i harweinio ef a'i gwmpeini yn ddiogel i dref.

---

## AT YR HOLL SAINT TRWY BRYDAIN FAWR A'R IWERDDON.

15, *Wilton Street, Liverpool, Chwef.* 1, 1851.

ANWYL FRODYR,—Yr wyf wedi cytuno am y llong Americanaidd "Olympus," Capt. Wilson, i hwylio i New Orleans ar ddydd Gwener, yr 28ain o'r mis presennol. Hon fydd yr olaf a'r unig long a hwylia efo Saint, hyd fis Medi nesaf; gan hyny, dylai pawb sydd yn ewyllysio sicrhau lle ynddi, anfon eu henwau, eu hoedran, eu galwedigaethau, a'u rhagdaloedd o £1, am bob person dros flwydd a than bedair blwydd ar ddeg oed, yn uniongyrchol, gan ei bod yn cael ei llenwi yn gyflym. Rhaid i enwau ac oedran babanod, os bydd rhai, gael eu danfon hefyd, er eu bod yn cael eu cludo yn rhad.

Gwnaed yr henuriaid llywyddol hysbysu hyn yn yr eglwysi mor fuan, ac mor gyffredinol, ag y bo posibl.

FRANKLIN D. RICHARDS.

---

## Y TAD, Y MAB, A'R FERCH.

[*O Saesneg yr Apostol John Taylor, o Ffrainc.*]

Y MAB.

LLON awn i'r gorllewin, i'r hyfryd wlad wiw,
I drigo at bobl fendithiwyd gan Dduw;
Fy nhad, O'm Tad anwyl, dywedwch paham
Na ddewch chwi i'n cludo i'n cartref dinam.
Gwlad, gwlad, hoff, hoff wlad,
Ein Tad, O dewch gyda ni i Seion, hoff wlad.

Y FERCH.

Paham, O 'Nhad anwyl, na ddewch yno i fyw,
Can's Seintiau ddylifant i Seion, medd Duw;
Bendithion nefolaidd yn hael iddi ddug,
A chyda rhai cywir, pur galon, y trig.
Gwlad, gwlad, hoff, hoff wlad,
Ein Tad, O dewch gyda ni i Seion, hoff wlad.

Y TAD.

Blant anwyl, ystyriwch—y daith sydd yn mhell,
A'ch mam sydd yn egwan, a minnau fawr gwell;
Pe trengai, wrth deithio, eich hen fam a'ch tad,
Meddyliech mai gwell fuasai aros 'n ein gwlad.
Gwlad, gwlad, hoff, hoff wlad,
Sef gwlad ein mabandod—'does le fel ein gwlad.

Y MAB.

Ond, 'Nhad, ca'wd dadguddiad gan Dduw am y cwyn
Sydd rhyngddo â Babel, lle magwyd ni'n fwyn;
Daw barnedigaethau trwy'r llwythau yn lli,
A rhag eu holl ddrygau gwnewch ffoi gyda ni.
Gwlad, gwlad, hoff, hoff wlad,
Ein Tad, O dewch gyda ni i Seion, hoff wlad.

Y FERCH.

A thrwy'r holl daith unig, fy Nhad, cymhorth sydd—
Cysuraf a gwyliaf chwi'r nos fel y dydd;
Ac engyl a'ch gwarchad, a'ch cynnal i'r làn,
A Duw a rydd gysur a heddwch i'ch rhan.
Gwlad, gwlad, hoff, hoff wlad,
Ein Tad, O dewch gyda ni i Seion, hoff wlad.

Y TAD, Y MAB, A'R FERCH.

Wel, ynte, cawn fyned i'r wlad dros y môr,
Can's gwell ini'n ddiau yw'r peth drefnodd Iôr;
Cyd-deithio i Seion â'n pwys ar Dduw wnawn,
Cawn wobr y cyfiawn, os ffyddlon parhawn.
Gwlad, gwlad, hoff, hoff wlad,
Ni awn gyda'n gilydd i Seion, ein gwlad.

*Merthyr.* *Cyf.* BENJAMIN DAVIES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

NA feiwch cyn chwilio i'r gwir; deallwch yn gyntaf, ac yna ceryddwch.

TALIADAU O ION. 23 HYD CHWEF. 6.—Sir Fflint, £1 2s; Sir Feirionydd, £1 13s; Dinas, £1 9s 6c; Cwmbach, 10s; Rymni, 14s 11c; Georgetown, £1; Merthyr, 1s 4c.

☞ ATH. A'R CYF.—Daw allan yn ddioed bellach. Rhwystr bychan sydd, eithr y mae ar symud.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr-Tydfil;*" ond na ddanfoner ynghylch dim arall.

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 4.] CHWEFROR 22, 1851. [PRIS 1*g*.

## PEDWERYDD EPISTOL CYFFREDINOL LLYWYDDIAETH EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, O DDYFFRYN Y LLYN HALEN FAWR, YN NHALAETH DESERET, AT Y SAINT GWASGAREDIG AR HYD Y DDAEAR.

YN ANERCH:—

ANWYL FRODYR,—Mae cyfleusdra arall wedi ei roddi, trwy ba un y gallwn wneyd yn hysbys i chwi y pethau mawrion ag y mae Duw wedi wneuthur i'w bobl; oblegid yn ddiau y mae wedi peri i'r anialwch flaguro a blodeuo fel y rhosyn, ac i ddwyn ei ffrwyth yn ei bryd, tra mae lleoedd anghyfannedd mynyddoedd Ephraim yn dadseinio â moliant i Dduw Israel.

Oddiar ein hepistol diweddaf am y 12fed o Ebrill, y mae ein Tad Nefol wedi lloni ein calonau, a chryfâu ein dwylaw; ac y mae'r ddaear wedi dwyn cynauaf toreithiog. Ar y 12fed o Fai, yr oedd dau bren peatys (*peach*), o dyfiad dwy flynedd, mewn blodau; a darfu i amryw brenau, mewn gwahanol ranau o'r ddinas, flodeuo yn awr ac eilwaith hyd y nawfed-ar-hugain, pan yr oedd cwrens, pys, ffa, &c., yn blodeuo; a gwenai natur wrth yr argoel o ffrwythau cynnar; ond ar y 17eg o Fehefin, disgynodd cryn eira ar y mynyddoedd amgylchynol, yr hwn a ddilynwyd gan rew caled ar y 18fed, ac ychydig ar y 19eg, yr hyn a niweidiodd y gwinwydd a'r planigion tyner, yn fwy neillduol felly ar y tiroedd iselaf; er hyny, teimlwn yn hyderus y gwna y dyffryn hwn etto gynnyrchu y ffrwythau mwyaf dewisol, cynnefin â'r *latitudes*, megys y cynnyrcha yn awr y llysiau mwyaf rhagorol.

Darfu i'r peatys yn ngardd y brawd Young dyfu yn hyfryd,

hyd nes i'r plant eu dystrywio wrth chwarae; ac y mae grawnwin California yn ffynu yn hyfryd yn yr un ardd, ac mewn lleoedd ereill yn y ddinas.

Ar y 13eg o Fai, sefydlasom fferm, un filltir wrth ddwy, gerllaw pont yr Iorddonen, er mwyn y tlodion, gan fwriadu adeiladu tai i'r rhai hyny nad ydynt yn alluog i adeiladu iddynt eu hunain; ond wrth ymchwilio, cawsom allan nad oedd ond dau berson yn y Dyffryn ag oedd yn analluog i ddarparu drostynt eu hunain, a throwyd y fferm fwriadol yn dir pori am yr amser presennol.

Mae yr Indiaid wedi bod yn fwy llonydd y tymmor hwn nag arferol; er fod yr Utiaid yn parhau i ledrata ein ceffylau a'n hanifeiliaid, mwy neu lai, ac yn bwgwth rhai. Darfu i fintai o'r Utiaid ladd mintai fechan o'r Snake Indians, rywbryd yn yr haf, a lladdwyd ganddynt un dyn gwyn o'r enw Baker, ar y 29ain o Fai, rhwng dyffrynoedd Utah a San Pete. Er eu bod yn fwy diweddar wedi bod ar eu helwriaethau, ac yn dangos llai o elyniaeth bersonol; etto, er mwyn diogelwch y bobl, ni esgeulusir dyscyblu ac addysgu Lleng Nauvoo, oblegid nid oes neb genym i ymddibynu am gynnorthwy ond Duw a'i bobl; ac y mae Duw yn cynnorthwyo y rhai hyny sydd yn ymdrechu cynnorthwyo eu hunain.

Darfu i'r ymfudwyr o'r Taleithiau, a braidd o blith pob cenedl, ag sydd yn dyfod trwy y Taleithiau at y Mwngloddiau Aur, ddechreu cyrhaedd yma ar y 27ain o Fai, ac wedi parhau i ddod hyd yr amser presennol, er fod y rhan fwyaf o honynt wedi passio fis yn ol. Mae eu rhifedi wedi bod lawer yn fwy nag yn y flwyddyn flaenorol. Mae amryw wedi cyrhaedd ein dinas, ag oedd wedi eu gadael gan eu cyd-deithwyr i farw yn ochr y ffordd; ac y mae amryw o gwmnïoedd a phersonau wedi cael ymrafaelion yn eu plith eu hunain, ag nad oedd yn gweddu nemawr i gymdeithas wareiddiedig, y rhai a orfu i awdurdodau ein Talaeth, yn groes i'w dymuniadau, eu settlo. Taer ddymuna dinasyddion Deseret, ar i'r teithwyr settlo eu hamrafaelion eu hunain; neu yn hytrach, ar iddynt beidio amrafaelio, fel y gallo ein swyddogion ddilyn eu gorchwylion dyddiol yn heddychlawn. Pe na fyddai teithwyr yn ein plith, anghofiem yn fuan yr enw o gwyn cyfreithiol. Fel pobl, meddwn ormod o waith i drafod materion felly.

Mae ugeiniau lawer, os nid cannoedd, o'r ymfudwyr hyn, ar ol cyrhaedd y dyffryn, a chlywed yr efengyl, am y tro cyntaf ar

lawer amgylchiad, wedi cael eu bedyddio er maddeuant o'u pechodau, ac wedi peidio myned ddim yn mhellach; tra y mae ereill, wrth weled ein sefyllfa, ein heddwch, ein hundeb, a'n llwyddiant, er nad ydynt yn proffesu credu athrawiaeth Crist, yn myned tua thref mor gyflym ag y gallant, er dwyn eu teuluoedd yma, lle y gallant fwynhau iechyd, mewn gwlad o ryddid gwladol a chrefyddol, lle y cânt eu hunain yn rhydd i wneyd yn iawn.

Ar yr 8fed o Fehefin, derbyniwyd llythyron o Lythyrdy Kanesville, trwy law Thomas S. Williams, yn cynnwys yr hanesion credadwy cyntaf o'r Taleithiau y tymmor hwn; ac ar y 14eg y dechreuwyd argraffu y "Deseret News," y cyhoeddiad cyntaf yn Nhalaeth Deseret.

Anrhydeddwyd y 4ydd o Orphenaf â gorymdaith gyhoeddus gan Leng Nauvoo, yn eu gwisgoedd, yr hyn a orphenwyd trwy araeth wladgarol gan Lywodraethwr y Dalaeth.

Mae y Peirianwyr Topographaidd wedi rhoi eu gwaith heibio am y tymmor, ac wedi dychwelyd i Washington, fel ag yr hysbysir ni, trwy ffordd yr Arkansas. Yr oedd sôn wedi myned ar led trwy y Taleithiau, mai derbyniad anroesawgar a gafodd y Peirianwyr, a bod dyben eu hymweliad yn cael ei wrthwynebu trwy drais gan drigolion y Dyffryn. Rhoddwn yma ddyfyniad o lythyr Captain Stansbury (Llywydd y fintai), at Olygydd y "Deseret News," dyddiedig Gorphenaf 1af, 1850, ynghylch y matter. "Pa fodd yr aeth y sôn ar led, yr wyf yn anwybodus. * * Mae yn hyfryd genyf i hysbysu na allai dim fod yn mhellach oddiwrth y gwirionedd. Derbyniwyd ni gan y Llywydd a'r awdurdodau cyhoeddus gyda'r parch mwyaf, yn swyddol ac yn bersonol, a bydd i ni gofio yn ddiolchgar yr arwyddion lliosog o garedigrwydd a pharch a dderbyniasom oddiwrthynt hwy a dinasyddion y lle.

"Rhoddwyd pob mantais i ni er ein galluogi i gyflawni ein dyledswyddau; cawsom fenthyg offerynau celfyddydol gyda pharodrwydd, ynghyd â'r cynnorthwy medrus a ffyddlawn a gafwyd o'r dechreuad yma, gan foneddig, tra adnabyddus fel cefnogydd eofn o'ch athrawiaethau chwi, ac aelod anrhydeddus a dylanwadol o'ch cydwladoldeb." Mae yr holl lythyr yn Rhif. 4 o'r "Deseret News," a gellir gweled copi o'r cyfryw yn mhob newyddiadur trwy yr Unol Daleithiau, ag sydd wedi taenu y chwedl a achosodd y llythyr, os bydd golygydd y cyfryw yn ddyn gonest.

Cadwyd y drydedd wyl flynyddol o ddyfodiad y Pioneers i'r

Dyffryn, ar y 24ain o Orphenaf, gan y cynnulliad cyhoeddus, mewn modd teilwng o'r achlysur, efo areithiau, anerchiadau, caneuon o fawl a diolchgarwch, a pheroriaeth, yn yr hyn y cyfranogai y Saint a'r pererinion i'r mwngloddiau fel eu gilydd. Mae crynodeb o'r hanes wedi ei gyhoeddi yn Rhif. 7, 8, a'r 9 o'r "News."

Ar y dydd olaf o Orphenaf, aeth y brodyr Young a Kimball oddicartref ar ymweliad i Utah a San Pete, a dychwelasant ar y 12fed o Awst, wedi cael allan le at sefydliad da, wedi lleoli dinas yn San Pete, ac wedi nodi amrywiol o leoedd canol, teilwng o sylw trefedigaethau bychain, y rhai a ddysgwyliwn gânt eu hymsefydlu y tymmor hwn, yr hyn a wna ffordd o dramwyaeth o'n trigfa hon i'n trigfeydd mwyaf deheuol. Caiff sefydliad San Pete ei gryfâu hefyd, ac ereill a ymledaenant ar y tu gogleddol, a thu hwnt, i Ogden, fel pan ddarfyddo yr ymfudiad y tymmor hwn, y byddo rhes o bentrefi, ychydig oddiwrth eu gilydd, dros fwy nâ 200 o filltiroedd o bellder; ac y mae cwmpeini wedi ei siartro eisoes gan Gynnulliad Cyffredinol Deseret, i'r dyben o yru rhes o gerbydau rhwng Ogden a San Pete, i ddechreu mor gynnar yn y gwanwyn nesaf ag y gellir teithio, ac i redeg mor bell ag y cyrhaedd y sefydliadau; hefyd o'r brif-ddinas i swydd Tooele, heibio i Faddon y Llyn Halen Fawr.

Mae Llywodraeth yr Undeb wedi bod yn llesg iawn i rwyddhau ffordd tramwyaeth rhyngddi hi a Thalaeth Deseret, ac wedi ein gadael i ymddibynu ar ein ffynnonellau ein hunain am wybodaeth. Ar yr ail o Awst, danfonwyd y brawd John Y. Green i Kanesville efo llythyron; ac ar y 15fed, cyrhaeddodd yr Henuriad O. Hyde efo llythyron o Lythyrdy Kane, hefyd y "Frontier Guardian," sef yr unig gyfres o newyddiaduron ag sydd yn ein meddiant, o unrhyw barth o'r ddaear, am y flwyddyn ddiweddaf.

Mae y tywydd wedi bod yn fwy cymylog, y nosweithiau yn dwymach, a'r cawodydd yn amlach yn ngwres yr haf, a llysiau-dyfiant yn gyflymach, y tymmor hwn, nag yn flaenorol; o ganlyniad yr oedd llai o anghen dyfrâu, yr hyn sydd wedi bod o fendith fawr; oblegid, yn ystod amser dyfrâu, nid oedd digon o ddynion yn y Dyffryn i ddyfrâu y meusydd eang o ŷd, pe buasai mor sych â rhai tymmorau blaenorol.

Mae y cnydau wedi bod yn doreithiog yn holl sefydliadau Deseret y tymmor hwn; ac yr ydym wedi gwneyd pob ymdrech

i'w diogelu er lles pawb; ac er ein bod yn dysgwyl, yn ol yr hysbysiaeth oreu ag yr ydym wedi gael, y bydd i'n poblogaeth gael ei chryfâu, yn agos, os nid yn gwbl, bymtheg mil, y tymmor hwn, etto yr ydym yn hyderus, os bydd pawb yn ddoeth, y cawn ŷd hau, a digon o fara i gynnal y cyfan, hyd gynauaf arall.

Mae bod y boblogaeth dybiedig o bymtheg mil o drigolion yn Deseret, y flwyddyn ddiweddaf, wedi codi digon o ŷd i gynnal y deg mil ar hugain am y flwyddyn ddyfodol, yn ein cymhell i gredu yn ddiysgog y gall y deg mil ar hugain y flwyddyn ddyfodol, godi digon i drugain mil y flwyddyn ddilynol; ac i'r dyben hwnw gwnawn bob ymegniad, i ddyblu ein poblogaeth yn flynyddol, trwy gynnorthwy Trysorfa Ymfudol Barhaus y Tlodion, a darparu fel arall gogyfer â chynnaliaeth y boblogaeth hono.

Trwy sylwi fod ymgasgliad Israel, yr hyn sydd yn achosi cynnydd poblogaeth yn nyffrynoedd y mynyddoedd, yn ran bwysig o Efengyl Iesu Grist, a'r un fwyaf pwysig ar yr amser presennol; ni fydd i ni ddanfon allan ychydig neu ddim henuriaid yr hydref hwn, eithr eu dysgu i godi llafur ac adeiladu tai, a pharotoi gyferbyn â'r saint, fel y gallont ddyfod yn heidiau, fel colomenod i'w ffenestri; a dywedwn, cyfodwch! at eich wageni a'ch pebyll, O, Israel gwasgaredig! chwi saint y Goruchaf! cyfoethog a thlawd, ac ymgasglwch i Dalaeth Deseret, gan ddwyn eich erydr a'ch ogedi, eich offerynau at fedi a lloffa, ac at ddyrnu a nithio, o'r patrynau mwyaf cymmeradwy, fel y medro un dyn wneyd gwaith ugain, ar y maes gwenith; a bydd i ni yn fuan anfon allan yr henuriaid wrth y cannoedd a'r miloedd i gynauaf eneidiau yn mhlith yr holl genedloedd, ac fe gaiff trigolion y ddaear glywed yn ebrwydd am yr iachawdwriaeth a ddarparwyd gan Dduw Israel i'w bobl.

Mae llawer o drigolion y ddinas yn gadael eu nwyddau gartref yr hydref hwn, ac yn cymmeryd tir yn y wlad, er ei barotoi i ffermio; ac y mae llawer o'r rhai sydd yn dyfod yn awr i'n plith, yn ymgasglu yn gwmnïoedd o ddegau, ugeiniau, a degau a deugain, i gydweithredu er noddi a chynnorthwyo eu gilydd, i agor meusydd newyddion, sefydlu sefydliadau newyddion, a pharotoi i ymborthi y cyfeillion a alwn adref.

Mae y negesyddion a ddanfonasom i'r dwyrain, yr hydref hwn, i ymweled â gwersylloedd y Saint ag sydd yn ymfudo yma, ac i'n hysbysu am eu sefyllfa, wedi cael allan ffordd o Green River, ar

y tu deheuol i'r hen ffordd, i'r Pacific Springs, lle y mae'r porfa a'r dwfr yn well; hefyd, ffordd newydd ar ochr ogleddol y Sweet Water River; yr hon, ynghyd â'r ffordd ar holl ochr ogleddol y Platte River, o'i genau yn mlaen tua'r gorllewin, megys ag y mae yr holl bellder wedi ei ddesgrifio, a'r rhan fwyaf wedi ei deithio gan ein pioneers yn 1847, yn ddiammau yw y ffordd oreu i'r Saint o'r Taleithiau i Deseret.

Croesi afon Missouri uwchlaw genau y Platte, a phasio y Loup Fork, yr hon yw yr unig afon o bwys i groesi ar y tu gogleddol i'r Platte; hefyd, y Sweet Water, oddieithr gerllaw ei tharddiad yn y mynyddoedd; ac yna nid oes dim rhwystrau naturiol ar y ffordd hyd nes y deloch at y Green River, lle y gellir dysgwyl *ferry* yn amser dwfr uchel, a rhyd dda yn ddiweddar yn y tymmor.

Mae ein Tŷ Taleithiol wedi ei amgau; mae y muriau yn agos parod i'w plastro; ac nid oes ammheuaeth genym na fydd y gwahanol ystafelloedd yn barod at eu gwahanol ddybenion—eisteddiad y Cynnulliad Cyffredinol, Prif-ysgol, Swyddfa Argraffu, a Swyddfaoedd y Degwm, y Llythyron, a'r Recordio,—y gauaf dyfodol. Mae y Badd-dŷ Twymn mor agos i'w orpheniad, fel ag y mae ymwelwyr yn cael baddo ynddo, ac y mae cerbydau bob dydd a phob awr yn rhedeg oddiyno i amryw ranau o'r ddinas.

Y mae amryw ystordai mawrion wedi eu gorphen, ac yn agos eu gorphen, yn ein dinas, a digon o nwyddau o ran cyflawnder ac amrywiaeth, oddieithr groceries, at anghenrheidiau y bobl, hyd dymmor arall.

Mae siwgr nid yn unig yn ddefnydd diod, ac yn beth moethus, eithr yn ei natur a'i sylwedd yn un o ranau cyfansawdd ein cyrff; ac y mae cymmeryd yn helaeth o hono yn dda i feithrin iechyd; a phe gallai y Saint gael mwy o gyflawnder o hono, gallent fod ar lai o gig. Pe byddai pob person yn Deseret yn difa y drydedd ran o wns o siwgr y dydd, trwy y flwyddyn ddyfodol, gofynai oddeutu cant ac ugain o dunelli, yn fwy nâ sydd neu a gaiff ei ddwyn yma gan ein masgnachwyr y tymmor hwn; ac yn ol y cyfrif goreu a allwn wneyd, defnyddid tri chant o dunelli yn y Dalaeth hon y flwyddyn nesaf, pe gellid ei gael.

Dysgwyliwn ryw gymhorth yn y farchnad siwgr y tymmor nesaf oddiwrth feithriniad y betys siwgr, a'r gwneuthuriad, eithr ni all hyn effeithio ond ychydig y flwyddyn gyntaf, gan nad

ydym wedi ein hysbysu fod mwy na bwshelaid neu ddwy o had pur y betys siwgr yn y dyffryn, er na wyddom am un wlad lle y mae mwy o sylwedd siwgraidd yn cael ei gynnyrchu mewn llysiau, nag yn y wlad hon.

Oddeutu canol Awst, aeth y brodyr Young a Kimball, yn nghwmpeini y brawd Hyde ac ereill, i ymweled â gwlad Weber, a rhoddasant gynllun o ddinas Ogden, gerllaw afon Ogden, a rhwng hyny a'r afon Weber.

Mae y Cynnulliad Cyffredinol wedi cynnal sessiwnau gohiriedig, yn achlysurol trwy yr haf. Yr oedd yr eisteddiadau yn fyrion iawn, er fod llawer o faterion pwysig wedi eu trafod, perthynol i'n Talaeth ieuanc a blodeuog. Pan fabwysiadwyd ffurflywodraeth Deseret, ac y penodwyd ei chyffiniau, yr oedd ymsefydlwyr Deseret yn bump am bob tri i eiddo California Orllewinol. Er hyny, gwnaed ymegniad nerthol gan Congress i dderbyn California i'r Undeb, er cadw Deseret allan, er fod ein herfyniad ni am dderbyniad i mewn o'u blaen hwynt hefyd.

* * * * * * * *

Llythyrdy Kane, yn Pottawattamie, yw y llythyrdy agosaf i'r lle hwn, a thrwyddo ef yr ydym ni wedi cario yn mlaen ein holl fusness â'r Taleithiau a gwledydd tramor. Daeth mail o'r Unol Daleithiau i mewn yma ar y 9fed o'r mis hwn, o Independence, Missouri, trwy yr hwn ni dderbyniasom un newydd, oddieithr trwy y cludydd, gan yr hwn y dysgasom fod cytundeb yn bodoli i ddwyn y mail drosodd unwaith y mis, a bod y Llywydd Taylor wedi marw.

Mae y gohebiaethau at ac oddiwrth ein cyfeillion pellenig wedi bod yn dra ansicr yn eu trosglwyddiad, a byddai yn ddymunol, mor bell ag y gall hyny fod, i ddanfon pob ysgrifau gwerthfawr gyda rhyw bersonau neillduol.

Mae y Trysorfeydd Ymfudol Parhaus wedi eu defnyddio yn ddoeth y flwyddyn ddiweddaf, dan arolygiaeth uniongyrchol ein dirprwywr, Esgob Edward Hunter, yr hwn sydd gerllaw y lle hwn, ar ei ddychweliad o Pottawattamie, efo chwmpeini mawr o Saint tlodion.

Dechreuwyd ein Cymmanfa hydrefol flynyddol ar y 6fed o Fedi, un mis yn gynt nag arferol, fel na byddai achos i'r brodyr ag oedd raid iddynt fyned i'r Taleithiau, fod mewn perygl ar eu taith mor ddiweddar yn y tymmor; ond darfu i amgylchiadau,

nad allem ni oddiwrthynt, achosi oediad annysgwyliadwy, yr hyn, yn y diwedd, a fydd er daioni.

Yr oedd y Gymmanfa yn lliosog iawn, a chafodd llawer o faterion pwysig eu trafod, fel y gellir gweled wrth y cofnodion sydd wedi eu cyhoeddi. Y pethau mwyaf eu pwys a fuont dan sylw oeddynt y Drysorfa Ymfudol Barhaus, Dysgeidiaeth, a chymmeradwyaeth gyffredinol i gynnal gwahanol swyddogion yr Eglwys, a'i gwahanol gorwmau, oddigerth ychwanegiad y brawd Parry at Uchel Gynghor y Stake hon o Seion, yn lle y brawd Grover, yr hwn sydd yn absennol.

Gwneir parotoiadau i sefydlu mam-ysgol, neu ysgol i addasu athrawon at ysgolion ieuenctyd a phlant trwy y Dalaeth; i amgau tir y Brif-ysgol, sef dernyn oddeutu chwe chant o erwau, yn ddwyreiniol i'r Ddinas; ac at bob peth arall sydd â thuedd ynddo i hwylusu cynnydd hen ac ieuanc, mewn adnabyddiaeth o'r celfyddydau, gwyddoregau, a gwybodaeth gyffredinol.

Tanysgrifiwyd amrywiol filoedd o ddolars tuag at y Drysorfa Barhaus yn ystod y Gymmanfa; a thanysgrifiodd amrywiol bersonau fil bob un. Oddiar yr amser hwnw, mae y Cwmpeini Ymfudol Parhaus, o ddim llai na thri ar ddeg o aelodau, yn cynnwys llywydd a chynnorthwywyr, wedi eu corffoli trwy gyfraith Cynnulliad Cyffredinol Talaeth Deseret, gyda gallu i ddewis eu swyddogion eu hunain, megys llywydd, ysgrifenydd, trysorwr, recorder, a dirprwywyr; a thrafod pob materion anghenrheidiol er hwylusu ymfudiaeth, yn gydweddol â'r egwyddorion cyffredinol o wneyd busness yn mhlith taleithiau a theyrnasoedd.

Dewiswyd Brigham Young yn unfrydol i fod yn Llywydd ar y Cwmpeini, yr hwn wedi hyny sydd wedi cwpla eu rheoleiddiad trwy ddewis Willard Richards yn Ysgrifenydd, Newel K. Whitney yn Drysorwr, a Thomas Bullock yn Recorder; pob Aelod o'r Cwmpeini i roddi meichniaeth ddigonol y cyflawnant yn ffyddlawn eu gwahanol ddyledswyddau; a bydd yr holl Gwmpeini yn gyfrifol am weithredoedd ei swyddogion a'i ddirprwywyr.

Hysbysir yn gredadwy fod methiant mawr ar y llwch aur, y tymmor hwn, yn California; ac y mae llawer o'r cyfraniadau tuag at y Drysorfa Barhaus wedi cael, ac i gael eu gwneyd, trwy anifeiliaid, ŷd, &c.; ac os bydd cyfartalwch cymhwys o arian yn eisieu, gwna y Cwmpeini roi allan eu papyr, i'r dyben o ddarparu ymfudwyr i fyned allan, yr hwn bapyr a ddeil yn dda o hyd, gan

fod digon o *stock* yn nghadw, mewn cyfraniadau, gan y Cwmpeini, i newid y papyr hwnw unrhyw fynyd; a gall unrhyw berson a fyddo yn dyfod i'r lle hwn, ddwyn y papyr ganddo yn fwy cyfleus na blawd, stock, nac hyd y nod aur; yr hyn a'i gwna yn bwnc gan y brodyr a allant, a thrafaelwyr i Deseret, i sicrhau papyr y Cwmpeini, lle bynag y gallont ei gael; oblegid efo'r pabyr hwnw geill trafaelwyr gael y cyfryw bethau ag a fydd arnynt fwyaf o'u heisieu, pan na all arian eu prynu yn y farchnad hon.

Mae y Deuddeg Apostol fynychaf yn eu gwahanol feusydd yn llafurio mewn gwledydd tramor. Bu yr Henuriad Orson Hyde ar ymweliad gyda ni ychydig o wythnosau, ac y mae ynghylch dychwelyd i Kanesville, ac i barhau ei lafur yn y Taleithiau. Mae yr Henuriaid P. P. Pratt, Geo. A. Smith, ac E. T. Benson, yn y lle hwn; ac efo Wilford Woodruff, yr hwn sydd yn teithio tuag yma, bydd iddynt dreulio y gauaf yn y Dyffryn. Mae Orson Pratt a F. D. Richards, yn Lloegr. Nid ydys wedi clywed oddiwrth John Taylor, yr hwn a aeth i Ffrainc, na Lorenzo Snow, yr hwn a aeth i Italy, nac Erastus Snow, yr hwn a aeth i Sweden, yr hydref diweddaf, oddiar eu mynediad i'r llefydd hyny. Dysgwylir Amasa Lyman yn ddyddiol, efo cwmpeini mawr o frodyr o California. Dysgwylir y parha Charles C. Rich yn ei lafur yn California, a dechreu sefydliad gyda chyfryw o'r brodyr a ewyllysiant drigo yno, yn y rhan ddeheuol o'r Diriogaeth. Dysgwylir Orson Pratt yma, mor gynnar y gwanwyn nesaf ag y byddo amgylchiadau yn caniatâu; tra y dysgwylir i'r Apostolion ereill i barhau yn eu gwahanol apwyntiadau, yn unol â chyfarwyddiadau blaenorol; gan helaethu eu llafur i wledydd ereill, fel y byddo cyfleusdra yn rhoi, ac fel y byddont yn cael eu harwain gan yr Ysbryd Glân.

Derbyniasom ohebiaeth hirfaith a phleserus oddiwrth yr Henuriad O. Pratt gan yr Henuriad Hyde; a theimlwn i ddweyd wrth y Saint yn Lloegr, derchefwch eich calonau a llawenhewch, oblegid y mae'r Arglwydd wedi gwneyd gwaith mawr yn eich plith, ac yn fuan bydd yn rhaid i gyfrifoldeb mwy i orphwys ar eich hysgwyddau. Y rheswm paham y mae prophwyd heb fod yn meddu anrhydedd, ond yn ei wlad ei hun, ac yn mhlith ei genedl, yw diffyg ffydd ac ymddiried yn mhlith ei gydwladwyr. Mae llawer iawn o ariau ac amser wedi eu gwario gan y brodyr Americanaidd, i helaethu y gwaith yn Mhrydain Fawr; ac y

mae'r amser yn awr wedi dyfod, pan y rhaid i ni ddechreu gofalu am genedloedd ereill, a'ch gadael chwi i ddilyn y gwaith a ddechreuwyd yn eich plith, heb barhau danfon henuriaid i chwi fel arferol: nid yw Duw dderbyniwr wyneb, ac y mae efe yr un mor barod ac ewyllysgar i addasu eich Henuriaid eich hunain i bregethu a llywyddu dros Gynnadleddau, ag yw i addasu dynion oddiyma; a bydd iddo wneuthur hyny os bydd i chwi roddi eich ffydd a'ch gweddiau o'u plaid, a'u hanrhydeddu yn eu swydd, megys ag yr ydych wedi gwneyd i Henuriaid tramor.

Nid ydym am i'r Henuriaid Americanaidd adael Lloegr, os nad ydynt hwy yn neillduol yn dymuno hyny, a'r dymuniad hyny yn cael ei gymmeradwyo gan y Llywyddiaeth yn Liverpool; ac yr ydym ni am ddangos i'r Llywyddiaeth hono y priodoldeb o ddewis Henuriaid llywyddol Cynnadleddau o blith y brodyr cartrefol, mor fuan ag y byddo amgylchiadau yn caniatâu; a dechreu eu dysgu hwynt yn nyledswyddau ymarferol eu swydd, gan adael yr ychydig frodyr Americanaidd yn fwy at eu rhyddid i ymweled â'r cynnadleddau, ac i roddi addysgiadau cyffredinol.

Mae yr Esgob Llywyddol Newel K. Whitney wedi marw yn dra sydyn ar y 23ain o'r mis presennol; yr oedd yr Esgob Whitney yn un o'r aelodau henaf yn yr Eglwys, ac y mae genym i alaru ar ol colli aelod rhagorol, a dyn cyfiawn yn ei holl drafodiaeth; a thra yr ydym fel hyn yn galaru o herwydd ei absennoldeb, adgofir eilwaith nad yw Eglwys Crist wedi ei hadeiladu ar un dyn; a bod Duw yn alluog i gyflawni ei waith ei hun. Yr Esgob Patridge oedd yr Esgob llywyddol cyntaf yn yr Eglwys yn y ddydiau diweddaf hyn, ac y mae efe wedi marw er ys amryw flynyddoedd yn ol; dilynwyd ef gan yr Esgob Whitney, yr hwn sydd yn awr wedi myned i fyd yr ysbrydoedd; a'r lleferydd tuag at bawb ydynt, Byddwch chwithau hefyd barod. Mae iechyd y bobl yn y Dyffryn yn dda yn gyffredin; mae ychydig o farwolaethau wedi dygwydd, y rhan fwyaf yn ymfudwyr.

Bydd i bob ymegnïad galluadwy i gael ei wneyd genym ni, a chan y Cwmpeini Ymfudol, i fwyhau defnyddioldeb y Drysorfa Barhaus wrth ymgasglu y Saint; ac y mae o bwys i bawb ag sydd yn dysgwyl help oddiwrthi, i ddeall fod, ac y bydd yr arian a ddanfonir allan yn cael eu bwriadu i brynu ieuau o

ychain, a hyny yn unig braidd; a bydd yr amgylchiadau yn mha rai y prynir wageni yn anfynych. Geill y tlodion sydd yn medru byw yn y Taleithiau efo ychydig o ddillad, ac ychydig neu ddim *groceries*, &c., fyw yr un mor rhad ar hyd y ffordd; ac wedi y delont yma, gallant gael anghenrheidiau bywyd trwy eu diwydrwydd. Eneidiau yw yr hyn ag y mae y Drysorfa Barhaus am gasglu adref, a'r rhai hyny hefyd mor aml ag y byddo modd; a gofelir am bethau ereill yn eu hamser a'u lle.

Yr ydym dan rwymau trwy gyfammod, i ddefnyddio y Trysorfeydd Parhaus a gesglir yn y wlad hon, yn gyntaf i ddwyn adref y Saint tlodion a yrwyd o Nauvoo; ac mor fuan ag y caffo hyny ei gyflawni, bydd i ni fod yn barod i estyn ein cynnorthwy i leoedd a gwledydd ereill. Parhaed y Saint Ewropaidd i ychwanegu at ein Trysorfeydd Parhaus, yr hyn beth ni ammheuwn nad ydynt wedi ddechreu, yn unol â'n cynghor blaenorol; ac mor fuan ag y byddo digon wedi ei gasglu i symud cwmni cyfaddas, bydd i ni roddi cyfarwyddiadau ynghylch eu defnyddio; a dechreuir ymfudo.

Un flwyddyn yn ol, ac nid oedd y Drysorfa Barhaus wedi ei sefydlu. Nid yw y dychweliadau wedi eu cwblhau yr hydref hwn; ond mor bell ag y gallwn farnu, ni syrthiant yn awr lawer yn fyr o ugain mil o ddolars yn y Dyffryn. Efelyched y Saint pellenig esiampl y Saint yma, yn ol eu gallu, a bydded i'r gwaith hwn barhau i fyned rhag ei flaen yn ol y cyflymdra y mae wedi myned hyd yn hyn, a byr fydd yr amser, pan y caiff rhai tlodion a gorthrymedig Seion deimlo ei ddylanwad gorfoleddus, ac ni fydd achos clywed y waedd, "Fe awn i fyny i dŷ yr Arglwydd, ond nid oes genyf fodd."

Mae y Cwmpeiui Parhaus ac Ymfudol yn gynnwysedig o Brigham Young, llywydd; Heber C. Kimball, Willard D. Richards, Orson Hyde, Geo. A. Smith, Ezra T. Benson, Jedediah M. Grant, Daniel H. Wells, Willard Snow, Edward Hunter, Daniel Spencer, Thomas Bullock, John Brown, William Crosby, Amasa Lyman, Charles C. Rich, Lorenzo Young, a P. P. Pratt, cynnorthwywyr; Daniel Spencer, trysorydd, yn lle N. K. Whitney, yr hwn sydd wedi marw. Mae Orson Hyde a John Brown wedi eu hapwyntio yn ddirprwywyr teithiol, a byddant yn y Taleithiau y gauaf nesaf. Mae Orson Pratt a Franklin D. Richards wedi eu hapwyntio yn ddirprwywyr teithiol; byddant yn arosol

yn Liverpool; a maes neillduol eu gweithrediadau, yn bresennol, fydd yr Ynysoedd Prydeinig.

Yn y modd hyn, frodyr, yr ydym wedi rhoddi i chwi hanes byr o sefyllfa a llwyddiant yr Eglwys yn yr Anialwch, a dymuniadau ein Tad Nefol, megys ag yr eglurwyd hwynt i ni trwy ei Ysbryd, yr hwn ag oedd yn trigo ynom, er eich adeiladaeth, eich cysur, a'ch iachawdwriaeth. Mae arwyddion yr amserau yn darogan yn uchel am waith mawr a byr yn y dyddiau diweddaf hyn; ac yr ydym yn gweddio ar Dduw y Tad tragywyddol, am iddo lanw eich calonau â gostyngeiddrwydd, ffydd, ac amynedd; a rhoi i chwi ddiwydrwydd gyda phob peth o fewn eich cyrhaedd, er cynnorthwyo i gario y gwaith hwnw yn mlaen, fel y gellir eich cael chwi yn fuan yn Seion, yn gorfoleddu gyda ni, ac i'r Efengyl gael ei chyhoeddi hyd eithafoedd y ddaear, yn enw Iesu Grist. Amen.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
WILLARD RICHARDS,

Dinas y Llyn Halen Fawr, Deseret,
Medi 27, 1850.

---

## TESTAMENT Y DEUDDEG PATRIARCH, SEF MEIBION JACOB.

[*Parhad o dud.* 46.]

### TESTAMENT SIMEON.

Dyma gynghor Simeon greulon,
Gwedi galw ynghyd ei feibion,
Erchi ymgadw oddiwrth genfigen,
Am fod hon yn difa ei pherchen.

COPIAD o eiriau Simeon, a lefarodd efe i'w feibion wrth ei farwolaeth, yn y chwech ugain mlwydd o'i oedran, yn mha un hefyd y bu farw Joseph; a phan ddaethant i ymweled ag ef ar ei glaf wely, efe a eisteddodd i fyny, ac a'u cusanodd hwynt, gan ddywedyd,—

Gwrandewch fy mhlant, a rhoddwch glust i'ch tad Simeon, pa beth bynag sydd genyf yn fy nghalon: myfi ydwyf ail fab fy nhad Jacob, fy mam Lea a'm henwodd i Simeon, o herwydd i'r Arglwydd wrando ei gweddi; myfi a aethum yn alluog iawn, ac aethum drwodd a'm holl achosion, ac nid oedd arnaf ofn dim, canys fy nghalon oedd ddiarswyd, a'm meddwl yn ansigladwy, a'm hystumog ydoedd wrol; canys caledwch a roddir gan y Goruchaf i eneidiau a chyrff dynion. Yn y dyddiau hyny y cenfigenais i wrth Joseph, o herwydd bod fy nhad yn ei garu ef,

mi a galedais fy nghalon yn ei erbyn ef i'w ladd ef, canys tywysog cyfeiliorni a ddanfonodd allan ysbryd cenfigenus, felly tywyllodd fy meddwl fel nas gallwn gymmeryd gofal i arbed fy nhad Jacob, eithr ei Dduw ef a Duw ei dadau, yn danfon ei angel, a'i gwaredodd ef allan o'm dwylaw i. Pan aethum i Sichem i gario porthiant i'r praidd, a Reuben hefyd gwedi myned i Dathan, lle yr oedd ein holl angheniheidiau gwedi eu gosod i fyny yn ystôr; ein brawd Juda a'i gwerthodd ef i'r Ismaeliaid, a phan ddaeth fy mrawd yn ol drachefn, bu ddrwg ganddo; canys yr oedd yn bwriadu ei ddwyn yn ol drachefn yn ddiangol at ein tad, ond yr oeddwn i yn ddigllon wrth Juda am ei ollwng ef i fyned ymaith yn fyw, ac a fum yn dwyn cilwg iddo dros bum mis: ond pa fodd bynag, Duw a'n hattaliodd ni, ac a rwystrodd weithredoedd fy nwylaw, a'm deheulaw a hanner wyfodd dros saith niwrnod ynghyd, yna y meddyliais, fy meibion, ddygwydd o hyny i mi o herwydd Joseph, yna yn ebrwydd ar ol hyny mi a edifarheais, ac a geisiais gan yr Arglwydd i adferyd i mi fy llaw, ac y byddai i minnau ymgadw oddiwrth bob atgasrwydd, cenfigen, ac ynfydrwydd; canys mi a wyddwn ddarfod i mi ymddwyn drwg feddwl yn erbyn yr Arglwydd, ac yn erbyn fy nhad Jacob, er mwyn fy mrawd Joseph, yr hwn y cenfigenais i wrtho.

Yn awr gan hyny, fy mhlant, ymgedwch oddiwrth ysbryd cyfeiliorni a chenfigen; canys os cenfigen a reola dros feddwl dyn, nis goddef iddo na bwyta nac yfed mewn llonyddwch, na gwneuthur daioni; ond ei flino a'i annog i ladd y blaid y byddo ef yn ei genfigenu, gan ddiflanu yn wastadol wrth eu llwyddiant hwy. Dwy flynedd ynghyd y cystuddiais fy enaid ag ympryd, yn ofn yr Arglwydd; canys mi a wyddwn mai y ffordd i'm gwared oddiwrth genfigen, oedd ofn yr Arglwydd. Os dyn a ddianc at yr Arglwydd, yr ysbryd drwg a ffy ymaith, ac felly fel y delo ei ysbryd ef yn ostyngedig, allan o afrywiogrwydd, mae efe yn dyfod i fod yn drugarog, heb fod yn dwyn cilwg i'r cyfryw a'i carant, ac felly y mae ei genfigen ef yn dybenu. Ac o herwydd fod fy nhad yn fy ngweled i yn brudd, efe a ofynodd i mi yr achos, wrth yr hwn y dywedais gelwydd, mai poen oedd yn fy ystumog: myfi oedd y pruddaf o'm holl frodyr, o herwydd i mi fod yn achos i werthu Joseph i'r Aifft; a phan ddaethum i'r Aifft, a'm rhoddi yn y carchar ganddo, am yspiwr, yna y cofiais i mai yn gyfiawn i'm cospid, ac ni bu drwg genyf; eithr Joseph oedd wr da, ac Ysbryd Duw oedd ynddo, ac yn llawn trugaredd a thosturi, ac ni feddyliodd wneuthur i mi ddim niwed, eithr efe a'm carai megys fy mrodyr ereill.

Gan hyny, fy meibion, ymgedwch oddiwrth bob cynhen a chenfigen, a rhodiwch mewn symlrwydd meddwl, a chydwybod dda, yn ol esiampl brawd eich tad; fel y rhoddo Duw i chwi ras a gogoniant, a bendith ar eich penau, fel y gwelwch ynddo ef, holl ddyddiau ei fywyd; ni ddarfu iddo erioed fwrw hyny allan o'i enau, na'i liwied i ni, eithr efe a'n carai ni fel ei enaid ei

hun, ac yn fwy nâ'i blant ei hun, gan ein hanrhydeddu ni, a rhoddi i ni gywaeth ac anifeiliaid yn helaeth.

Chwithau gan hyny, fy mhlant, cerwch eich gilydd â chalon dda, a bwriwch oddiwrthych ysbryd cenfigenus, canys y mae yn gwneuthur enaid dyn yn anaroglus, yn gwrthuno y corff, yn magu rhyfel a digofaint yn y meddyliau, yn gosod y gwaed ar dân, ac yn ei yru ef allan o'i bwyll, ac nis goddef ychwaith i un rheswm ddwyn na rhwysg na rheolaeth; yn mhellach, mae efe yn cymmeryd ymaith ei gwsg, ac yn aflonyddu y meddwl, ac yn gwneuthur y corff i grynu, o herwydd yn ei gwsg y bydd rhyw lyngyren o ddychymmyg maleisus yn ei gnoi ef, yn difwyno ei enaid ef ag ysbryd drygionus, yn gwneuthur ei gorff ef yn aneulyn, a'i feddwl yn ddychrynllyd, ac yn boenus, ac yn ymddangos i ddynion fel pe bai ysbryd peryglus yn tywallt allan ei wenwyn; ond yr oedd Joseph yn deg ei wyneb, yn brydferth ac hardd yr olwg, o herwydd nad oedd dim anwiredd yn aros ynddo ef, am hyny yr oedd ei wyneb-pryd ef yn eglur oddiwrth feddwl cenfigenllyd.

Ac yn awr, fy mhlant, bydded eich calonau yn addfwyn o flaen yr Arglwydd, rhodiwch yn uniawn o flaen dynion; felly y cewch chwi ffafr gyda Duw a dyn: a gochelwch rhag i chwi syrthio i odineb, canys puteindra ydyw mam pob drygioni, yn neillduo dyn oddiwrth Dduw, ac yn ei ddanfon ef at Belial. Canys mi a welais yn ysgrifeniadau Enoch, y byddai i chwi ac i'ch plant ymlygru drwy buteindra, a gwneuthur cam a Lefi drwy y cleddyf, ond ni lwyddwch yn erbyn Lefi, efe a ymladd ryfeloedd yr Arglwydd, ac a gymmer eich holl bebyll; ac ychydig a ymrana yn Lefi ac yn Juda, canys Juda a fydd eich Cadben, megys ag y prophwydodd fy nhad Jacob yn ei fendithion. Ac yn awr, wele fi yn mynegi i chwi yr holl bethau hyn yn mlaen llaw, fel y byddwyf glân oddiwrth bechodau eich eneidiau.

Ac yn awr, os rhoddwch chwi heibio genfigen a gwar-galedrwydd, fy holl esgyrn a flodeuant fel rhosyn yn Israel, a'm cnawd fydd fel lili yn Jacob, a'm harogl a fydd fel arogl Libanus, a'm rhai santaidd a liosogant fel cedrwydd yn dragywyddol, a'u cangenau a daenant hyd byth; yna had Canaan a dderfydd am danynt, ynghyd â holl weddill yr Amaleciaid; yr holl Gappadociaid a dderfydd am danynt; a'r holl Scythiaid a ddinystrir yn yr un modd. Yna y bydd i dir Cam ballu, ac i'r holl bobl fyned yn ddrylliaid; a'r holl ddaear a gaiff lonydd gan Heldrin, a'r holl bobl tan y nefoedd rhag rhyfel. Yna y gogoneddir Sem, pan ddelo Arglwydd Dduw mawr Israel, i ymddangos ar y ddaear megys dyn, i achub Adda ynddo ef: yna y sethrir yr ysbryd cyfeiliornus dan draed, a dynion a deyrnasant dros angylion niweidiol ac uffernol: yna y cyfodaf finnau drachefn mewn llawenydd, ac y bendithiaf y Goruchaf yn ei ryfeddol waith; canys Duw yn cymmeryd arno gorff, ac yn bwyta gyda dynion, a achub ddynion.

Ac yn awr, fy mhlant, ufyddhewch i Lefi, a chwi a waredir

trwy Juda; nac ymddyrchefwch mo honoch eich hunain uwchlaw y ddau lwyth hyny, o herwydd o honynt hwy y tardd allan waredigaeth iachusol i ni; canys Duw a esyd i fyny Lefi yn dywysog yr offeiriadaeth, ac o Juda y daw Brenin y breninoedd, Duw a dyn; felly y gwared efe yr holl genedloedd, a gwreiddyn Israel. Oblegid y pethau hyn yr ydwyf yn eich hannog chwi i orchymyn eich plant ar gadw y pethau hyn i'w plant trwy eu holl genedlaethau.

Ac yna Simeon, gwedi iddo wenuthur diwedd ar lefaru, a gorchymyn y pethau hyn i'w blant, a hunodd gyda'i dadau, pan ydoedd efe yn gan mlwydd ac ugain oed; yna hwy a'i dodasant ef mewn arch o goed, y rhai ni phydrent; fel y gallent hwy gario ei esgyrn ef drachefn i Hebron, ac a'i symudasant ef yn ddirgel, heb wybod i'r Aifftiaid, canys yr Aifftiaid oedd yn cadw esgyrn Joseph yn nhrysor y brenin; oblegid i'w dewiniaid hwy ddywedyd iddynt, mai pan elid ag esgyrn Joseph ymaith, y byddai y cyfryw blâ o niwl a thywyllwch yn mhlith yr Aifftwyr, fel nad adnabyddai y naill y llall, ïe, wrth oleuni y ganwyll gŵyr. A phlant Simeon a ddarfu alaru am eu tad, yn ol cyfraith galarnad, ac a arosasant yn yr Aifft hyd ddydd ei hymadawiad oddi yno, dan law Moses.

(*I'w barhau.*)

---

## DYGWYDDIAD HYNOD.

ANWYL FRAWD DAVIS,—Dymunaf hysbysu darllenwyr yr UDGORN, am ddygwyddiad a gymmerodd le yn y gymmydogaeth hon (Merthyr) ychydig o ddyddiau yn ol.

Ar y 26ain o Ragfyr diweddaf, yr oeddwn i, yn nghwmpeini yr Apostol John Taylor, William Howells, Thomas Pugh, ac ereill, yn croesi mynydd Aberdare, pen uchaf yr hwn sydd oddeutu milltir a hanner o Merthyr; a gosodasom bedair careg i lawr (un gyferbyn a phob un), gerllaw pen y mynydd, yn goffadwriaeth o'n bod wedi pasio heibio. Ac ar yr 28ain, dychwelais yn nghwmpeini y brodyr Taylor a Pugh, ac fe ychwanegasom dair careg arall at y lleill.

Yn awr, mae yr hyn a ddygwyddodd yn y fan hono, ar y 1af o Chwefror, yn werth ei gofnodi. Fel ag yr oedd dau frawd yn myned tuag i fyny, ac yn agos i odreu y mynydd, cyfarfuasant â gwr a gwraig yn rhedeg yn ol yn dra dychrynedig, y rhai a ddywedasent fod y mynydd yn berwi i fyny, a phan yr oedd wedi codi i'r làn amryw latheni, clywsent sŵn megys rhuad magnel. Wedi clywed cymmaint o siarad am y peth, aethum innau yn nghwmpeini dau o'r brodyr, i weled y fan, a darfu i'r hyn a welsom achosi syndod mawr i ni. Yr oedd wedi dygwydd o fewn dwy lath i'r ceryg crybwylledig. Gwelsom fod cannoedd lawer o dunelli o ddaear wedi ei chwythu o gwmpas 250 o latheni o ffordd, ac wedi gadael ceudwll oddeutu 120 o latheni o hyd, o 15

i 20 llathen o led, ac o un i ddwy o ddyfnder. Yr oedd darnau o hen dderwen yn y ddaear oedd wedi ei chwythu ymaith, oddeutu 6 troedfedd o hyd wrth 3 troedfedd o dryfesur, a rhai o honynt mor galed fel na ellid eu tori na'u llifo, a'r lleill yn ddu a meddal. Mae gwahanol farnau ynghylch y dygwyddiad; rhai yn dweyd mai daeargryn a fu, ereill mai *sulphur* a'i hachosodd, ac ereill mai dwfr. Yr oedd y man yn dir mawnog a llaith, nad beth a'i hachosodd. Ond fy marn i yw, mai un o arwyddion y dyddiau diweddaf oedd y cyfan, ac y dygwydda llawer o bethau cyffelyb etto, i dystio fod Duw yn myned a'i waith rhag ei flaen.

Yr eiddoch yn y gwirionedd,

*Merthyr*, *Chwef*. 11, 1851. WILLIAM PHILLIPS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

YR hwn nad yw yn teilyngu dim, a ddylai fod yn foddlawn ar rywbeth.

NID oes neb yn mwynhau llwyddiant, os na fydd wedi cyfarfod ag aflwyddiant.

NEWYDD DDA.—Dywed y Llywydd F. D. Richards—" Bydded i Henuriaid llywyddol y Cynnadleddau efelychu ysbryd y Brif Lywyddiaeth [yn eu Hepistol], a dysgu y Saint i beidio llaesu eu diwydrwydd ynghylch y peth yma [sef y Drysorfa Ymfudol Barhaus] yr haf dyfodol, a bydd i ni fentro prophwydo, y gallwn ddechreu, yn gynnar yn 1852, ddanfon ymaith y Saint tlodion, wrth y cannoedd, ïe, wrth y llongaid neu y llongeidiau, trwy y Drysorfa Ymfudol Barhaus, yr hyn a bair fawr lawenydd trwy yr holl eglwysi."

AT Y CANGENAU.—Dymunir hysbysu y Cangenau mai un rhifyn o bob ugain a ellir roddi o elw am werthu yr UDGORN eleni, o achos gostyngiad ei bris. Rhoddir un rhifyn o bob deg o'r " Athrawiaeth a'r Cyfammodau" yn elw. Wrth gwrs, fe ganiateir elw i ddosparthwyr y Cynnadleddau hefyd.

ATH. A'R CYF.—Mae y Rhif. 1 allan yn awr; ac os ewyllysia y Saint yn gyffredinol, cyhoeddir ef bob wythnos, yn lle pob pythefnos, am geiniog a dimai yr un; anfoner gwybod.

---

TALIADAU O CHWEF. 6 HYD CHWEF. 20.—Sir Fynwy, £1; Sir Aberteifi, £1 9s; Morganwg Orllewinol, £7 13s 9c; Caerdyf, £1 1s; Aberdare, £1 10s 6c; Georgetown, £1; Merthyr £1; Cefn, 10s 10½c.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*"

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 5.] MAWRTH 8, 1851. [PRIS 1g.

### AT GRISTIONOGION CYMRU.

ANWYL GYDWLADWYR,—Y mae yn awr oddeutu chwech neu saith mlynedd oddiar pan ymddangosodd Saint y Dyddiau Diweddaf, neu y Mormoniaid, yn eich gwlad; ac oddiar hyny hyd yn awr, yr ydych wedi clywed llawer am danom fel enwad; yr ydych wedi darllen ein hysgrifeniadau, ac wedi gwrandaw ein pregethau, a thrwy hyny wedi dyfod i gryn wybodaeth yn ein cylch. Beth fyddai genych yn ateb, pe gofynem yn awr ychydig o gwestiynau i chwi? Yn gyntaf, ynte, paham na chredech y dystiolaeth a dystiolaethwn wrthych yn barhaus? Oni ddywedwn wrthych, fel y dywedodd Crist wrth Nicodemus, "Oddieithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw?" ac hefyd, "Os ewyllysia neb wneuthur ewyllys Duw, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth," sef y ddysgeidiaeth a ddysgwn ni yn enw Iesu Grist? Cofiwch mai nid i deyrnas Dduw yr aeth y lleidr oddiar y groes, eithr i "baradwys;" canys yr oedd teyrnas Dduw yn fwy agos na pharadwys, oblegid yr oedd yn mysg yr Iuddewon yn ngwlad Canaan.

Yn ail, cawn ofyn i chwi, yn gymmaint â'ch bod yn proffesu credu yr ysgrythyrau, paham na wnaech "brofi pob peth, a dal yr hyn sydd yn dda?" Gwyddoch eich bod heb brofi ein hathrawiaeth megys ag y gweddai i chwi; mae arnoch fwy o ofn i ddigio eich gweinidogion, nac i ddigio Duw. Os ydych weithiau yn myned i wrandaw y Saint, yr ydych yn dychrynu mwy rhag i'ch cyd-aelod eich gweled, nag i'r Hollalluog eich gweled. Onid yw hyn yn wir am lawer o honoch?

Yn drydydd, paham na chymmerwch eich goleuo genym? Ai ni wyddoch eich bod mewn tywyllwch? Pe buasech yn y goleuni, ni ddywedasai llawer o honoch, "Gadewch iddynt; os yw y Saint o Dduw, hwy lwyddant." Dyna leferydd plant y tywyllwch yn y dyddiau gynt hefyd. Y mae pawb sydd yn y goleuni yn gweled, ac yn rhodio y ffordd uniawn; tra y mae plant y tywyllwch yn ymfalchio ar lwybrau blaenoriaid deillion, y rhai sydd yn proffesu eu harwain tua rhyw "afon angeu," lle y gallant, wedi croesi, wybod pa le y maent.

Yn bedwerydd, paham na hoffech feddu sicrwydd ynghylch crefydd, yn lle byw yn barhaus mewn gobaith a chred, tra y mae gwybodaeth ddiammheuol i'w chael? Cofiwch mai nid mewn gair yn unig y mae'r efengyl yn dyfod atom, eithr "mewn nerth a sicrwydd mawr, ac yn yr Ysbryd Glân." "Pwy bynag a ddelo yn ddyscybl i mi," meddai Iesu Grist, a ninnau hefyd, "efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth."

Yn bummed, paham na chymmerwch afael yn ngwreiddyn y mater, neu y sylwedd, wedi bod yn gweddio cymmaint am dano? Yr ydych yn bresennol yn byw ar y cysgod o hono a welsoch yn y Testament Newydd. Bu eich hynafiaid, fel y ci yn y chwedl, mor ffol unwaith â gollwng gafael ar y sylwedd, er mwyn cael y cysgod, trwy yr hyn y collasant y sylwedd; ac oddiar hyny, ar ol y cysgod y myn pobl fyned. Yn lle sylweddol ddawn yr Ysbryd Glân, yr hon yw gwreiddyn y mater, dewisa llawer yn awr ei chysgod yn unig; gwell ganddynt ysbryd disylwedd, mud, ac anamgyffredadwy, na'r Ysbryd hwnw sy'n rhoddi "eglurhad" a dyddanwch, gan lanw temlau y Saint, nes y gallant wybod eu bod yn blant i Dduw.

Yn chwechfed, paham na ddymunech feddu y doniau ysbrydol, y rhai a gyfrenir o'r neilldu megys y mae Duw yn ewyllysio? A ydych chwi yn rhy gall i gael ymadrodd doethineb a gwybodaeth, ynghyd â ffydd; neu yn rhy iach, i dderbyn dawn i iachâu; neu yn rhy hollalluog, i fod mewn anghen o wyrthiau; neu yn rhy hysbys, i fod mewn anghen o brophwydoliaeth a gwahaniaeth ysbrydoedd; neu yn rhy ddysgedig, i fod mewn anghen o amryw dafodau a chyfieithad? Yn awr, mae Duw am gyfranu i chwi yr holl ddoniau hyn, ac yr ydych chwithau mor ffol â'u gwrthod, o herwydd eich bod yn breuddwydio fod yr "hyn sydd o ran" wedi darfod, a bod yr "hyn sydd berffaith" wedi dyfod. Cofiwch nad

yw y perffeithrwydd i ddyfod, "hyd nes yr ymgyfarfyddom OLL yn undeb y ffydd."

Yn seithfed, paham na chredwch fod cymmaint o eisieu apostolion a phrophwydi yn yr eglwys yn bresennol, ag sydd o eisieu athrawon a diaconiaid ynddi? Beth a wnaeth yr apostolion a'r prophwydi gynt, nad oes cymmaint o anghen iddynt wneyd yr un gwaith yn awr? Nid all athrawon a diaconiaid, yn unig, fod yn alluog "i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, ac i adeilad corff Crist;" na, gosodwyd apostolion a phrophwydi hefyd i'w cynnorthwyo a'u hyfforddi, hyd nes y delo yr eglwys yn "wr perffaith." Gwel Eph. iv, 11—13. Trueni na fynai y sectariaid apostolion, fel y gallai pawb eu hadnabod; canys byddai eisieu deuddeg ar bob sect, neu i bob sect gael deuddeg rhyngddynt! a lle byddai un yn gweini i ddwy neu dair o sectau, dylai fod yn feddiannol ar ddwy neu dair o gredoau!

Yn wythfed, paham y glynwch chwi wrth "rith duwioldeb, a chan wadu ei grym hi?" Byddai yn well i chwi dderbyn yr efengyl yn ei gallu, na derbyn rhywbeth tebyg iddi. Y mae arnoch eisieu bwyd i fwyta eich hunain, yn lle edrych yn narlun yr ysgrythyrau ar ereill yn bwyta yn yr amser gynt; ni wna hyny byth eich digoni chwi. Mae corff Crist i fod ar ei gynnydd yn barhaus; a chyn y gall gynnyddu, rhaid iddo gael rhagor o ymborth o hyd.

Yn nawfed, ac yn olaf, paham y dysgwch chwi bob amser, tra na allwch un amser ddyfod i wybodaeth y gwirionedd? Mae eich pregethwyr wedi bod yn dysgu trwy eu hoes, ac etto mor bell ag erioed i gael gafael ar y gwirionedd hwnw a gafodd pysgotwyr anllythyrenog Galilea afael ynddo heb ddysgu dim. Derbyniasant hwy y gwirionedd fel dyn bach, a gwell i'ch athrawon a chwithau ei dderbyn yn yr un modd. Mae y gwirionedd i'w gael gan weision Duw, yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf; ac os credwch chwi eu tystiolaeth, gan gymmeryd eich bedyddio er maddeuant pechodau, chwi a gewch dderbyn o ddawn yr Ysbryd Glân, yr hwn a gyd-dystiolaetha â'ch hysbryd chwi eich bod yn blant i Dduw.

Yn awr, anwyl gydwladwyr, holwch eich hunain, a myfyriwch ar y pethau uchod. Yr Arglwydd a symuda bob tywyllwch oddiar eich meddyliau, yn union pan y gwel chwi yn awyddus am feddu y gwirionedd,

## CYNGHORION I LYWYDDION CYNNADLEDDAU A CHANGENAU.

14, *Castle street, Merthyr-Tydfil, Chwef.* 26, 1851.

ANWYL FRODYR,—Byddwch yn awyddus i ddysgu i'r eglwysi bob cynghor ag sydd yn dyfod allan (canys fe fydd hyny er eich bendith chwi), a mynwch weled fod pob cynghor yn cael ei gario i bob cangen, i bob dosparth, ac at bob aelod; a phwy bynag a ufyddhao i'r cynghorion sydd yn dyfod allan, a oleuir gan yr Ysbryd Glân; a phwy bynag a ddiystyro neu a esgeuluso y cyfryw gynghorion, a ddiystyrir yn ol gan Dduw, a hwy a gollant yr Ysbryd, ac a ânt allan o'r eglwys yn gau-dystion. Bydded eich bod chwi yn ddynion disigl, yn gwneyd eich galwedigaeth, ac yna bydd eich etholedigaeth yn sicr i chwi: a dysgwch barchu yr offeiriadaeth yn y dyddiau diweddaf hyn; a'r parch y mae yn ei ofyn yw, ufydd-dod gwirfoddol. Na fydded i chwi ganiatâu i un henuriad nac offeiriad fyned allan i bregethu, heb fod yr Ysbryd Glân yn ei feddiant; canys ni all neb bregethu yr efengyl hon heb fod yr Ysbryd Glân ganddo; ac os heb yr Ysbryd y bydd rhywun, y mae gan y byd crefyddol gystal efengyl ag yntau: Gofalwch na fyddo neb yn dal swydd yn yr eglwys hon, heb fod dawn yr Ysbryd Glân yn ei feddiant. Os canfyddwch lywydd cangen, neu ei gynghorwyr, neu ynte lywydd dosparth, yn amddifad o'r ddawn uchod, newidiwch hwy, a gosodwch ddynion yn llawn o'r Ysbryd yn eu lle; canys y mae athraw neu ddiacon da yn fwy addas i lywyddu nag henuriad wedi gwywo: y mae llywydd drwg yn felldith i'r lle. Y mae yn beth rhyfedd i rai, efallai, paham y mae rhai hen swyddwyr a Saint, yn waeth nâ rhai ieuainc. Yr achos o'u bod yn waeth yw, eu bod wedi colli yr Ysbryd. Y maent yn tebygoli dau ddosparth o lygod, bychain a mawr, y rhai sydd yn gwneuthur drwg mawr mewn tai a chymmydogaethau pan na fyddo cathod yn agos. Gwyddoch mae y rhai henaf a mwyaf sydd yn gwneuthur mwyaf o ddrwg; ond pan ddelo rhyw gath yn agos, dacw y ddau ddosparth i'w tyllau mewn dychryn; ac y mae mwy o ofn ar y rhai mawrion na'r rhai bychain, o achos fod eu gwybodaeth hwy yn fwy. Weithiau, gan grynu, dyweda un fawr wrth un fechan, "Dos i geg y twll, ac edrych o gwmpas pa le y mae'r cathod;" ac felly y mae llawer o'r rhai bychain yn cael eu dal, ac ambell un o'r rhai mawrion,

pan yn dygwydd dyfod allan i yspeilio. Anwyl frodyr, gweddiwch am gyfarwyddyd yr Ysbryd i egluro i chwi y ddammeg hon.

Cynghoraf chwi i osod y Drysorfa Ymfudol Barhaus mewn grym yn mhob cangen, ac anfon yma y swm a gesglir yn mhob cangen, ynghyd ag enw trysorydd pob cangen, ac hefyd drysorydd y gynnadledd, bob chwarter, sef ar y 24ain o Fawrth, y 24ain o Fehefin, y 24ain o Fedi, a'r 24ain o Ragfyr; ac yr wyf yn dysgwyl y bydd y cynghor hwn yn cael ei gadw, fel y gallwyf innau yru y cyfan i Liverpool erbyn yr amser a apwyntiwyd; a phan y byddoch yn gyru yr arian a'r cyfrif yma, na fydded i chwi yru dim arall yn gymmysgedig. Hefyd, o hyn allan, gyrwch hanes eich Cymmanfaoedd i mi, a phob peth arall, ond yn unig mewn perthynas i'r llyfrau Cymraeg; ac fe garswn glywed oddiwrthych yn amlach. Bydded i Dduw y nefoedd eich bendithio chwi i gyflawni y cynghorion hyn, canys at hyny y mae Duw wedi rhoi i chwi yr offeiriadaeth; a derbyniwch yr epistol bychan hwn oddiwrth Eich gostyngedig was,

WILLIAM PHILLIPS.

[Yr achos fod rhai camsyniadau ynghylch arian wedi dygwydd, yw, o herwydd eu bod wedi eu danfon mewn dull cymmysglyd. Mae y Llywydd Phillips a ninnau yn byw ychydig bellder oddiwrth ein gilydd, a gofynai was neu ddau i gario llythyron cymmysg y naill at y llall; gan hyny, anfoner atom ar wahan.—GOL.]

---

## TESTAMENT Y DEUDDEG PATRIARCH, SEF MEIBION JACOB.

[*Parhad o dud. 67.*]

### TESTAMENT LEFI,

*A wnaeth efe i'w blant ar ei farwolaeth, mewn perthynas i'r offeiriadaeth.*

Dyma yn eglur dystiolaeth Lefi,
Am ei alwad yn rhoi cyfri';
Efe oedd yr offeiriad cyntaf,
Mae fe'n dangos pwy ydyw'r olaf.

COPIAD o eiriau Lefi, a lefarodd efe yn enwedigol wrth ei blant, ynghylch yr holl bethau y rhai yr oeddynt i'w gwneuthur, ac a ddygwyddai iddynt hyd ddydd y farn; ac efe mewn iechyd, etto efe a'u galwodd hwynt, canys yr ydoedd efe yn gwybod o'r blaen y pryd y byddai efe farw; felly, pan ddaethant ynghyd, efe a ddywedodd wrthynt,

Myfi Lefi a anwyd ac a fagwyd yn Caran, ac ar ol hyny mi a

ddaethum gyda fy nhad i Sichem; nid oeddwn i yr amser hwnw ond ynghylch ugain mlwydd oed, pan gynnorthwyais i fy mrawd Simeon i ymddial ein chwaer Dinah ar Hamor.

Ac yn awr, pan oeddem ni yn porthi y praidd yn Abelmuel, ysbryd dealltwriaeth yr Arglwydd a ddaeth arnaf, a mi a welais bawb yn cloddio eu ffyrdd eu hunain, ac anghyfiawnder yn adeiladu noddfa iddo ei hunan, ac anwiredd yn eistedd ar yr orseddfainc; a bu ddrwg genyf dros ddynolryw, a mi a geisiais yr Arglwydd i'w hachub hwynt: yna y syrthiodd cwsg arnaf, a mi a welais fynydd uchel iawn, sef mynydd Aspys yn Abelmuel; ac wele y nefoedd a agorodd, ac angel Duw a ddywedodd wrthyf, Lefi, tyred yma; ac efe a aeth o'r nefoedd gyntaf i'r ail, ac yno y gwelais i y dyfroedd yn crogi rhwng y naill a'r llall; a mi a welais y drydydd nefoedd, yr hon oedd lawer mwy eglur na hwynt-hwy, a'i huchder hi ydoedd yn anfeidrol; a mi a ddywedais wrth yr angel, Beth y mae hyn yn ei feddwl? A'r angel a'm hatebodd, gan ddywedyd, Na ryfedda wrth y pethau hyn, canys ti a gei weled pedair nefoedd mwy eglur, ac heb gyffelyb iddynt, pan ddelych di i fyny; a thi a gei sefyll gyda'r Arglwydd, a bod yn weinidog iddo, i draethu dirgelwch ei ddyndod, ac i bregethu Gwaredydd Israel, yr hwn sydd i ddyfod; trwyddot ti a thrwy Juda yr ymddengys yr Arglwydd i ddynion, i achub holl ddynolryw ynddynt hwy, a'th fywyd a bwysa ar yr Arglwydd; drwyddo y cai dy faesydd a'th winllanoedd, ffrwythydd, aur, ac arian. Gan hyny, gwrando ynghylch y saith nefoedd.

Yr isaf hono sydd dra llychlyd, o herwydd ei bod yn nesaf at holl anghyfiawnder dynion.

Yr ail sydd â thân, eira, a rhew, gwedi eu parotoi trwy drefniad yr Arglwydd, erbyn cyfiawn farnedigaeth Duw; ynddi hi y mae yr holl ysbrydion ymddial, i geryddu y drygionus.

Yn y drydydd y mae gallu y lluoedd, a ordeiniwyd erbyn dydd y farn, i ymddial ar ysbrydoedd cyfeiliornus Belial.

Yn y bedwaredd uwchlaw hyn, y mae y seintiau; canys yn y lleoedd uchaf mae yn cyfaneddu y Gogoniant mawr yn y santeiddiolaf o'r holl santeiddrwydd.

Yn y nesaf at hon y mae yr angylion, y rhai sydd yn gwasanaethu yn ngwydd Duw, ac yn ceisio ei ffafr dros anwybodaeth y cyfiawn; y maent yn offrymu i'r Arglwydd felys arogl, y rhesymol wasanaeth, aberth heb waed.

Yn y llall, yr hon sydd dan hon, y mae yr angylion y rhai sydd yn dwyn ateb oddiwrth yr angylion sydd yn mhresennoldeb Duw.

Yn yr hon sydd uwch eu llaw y mae y gorsedd-feinciau a'r galluoedd, yn mha le y mae gwastadol offrwm i fyny hymnau i Dduw.

Am hyny yr ydym ni oll yn symud pan edrycho yr Arglwydd arnom; ïe, y nefoedd a'r ddaear a'r pwll diwaelod a gynhyrfasant yn ngwydd ei fawredd ef; ond meibion dynion yn wallgofus a bechant, i annog y Goruchaf i ddigofaint: yn awr, gan hyny, deallwch y bydd i'r Arglwydd wneuthur barn ar blant dynion; o

herwydd bod dynion yn wastadol yn aros mewn anghrediniaeth ac anghyfiawnder, ïe, pan fyddo y ceryg yn hollti, yr haul yn tywyllu, y dyfroedd yn sychu i fyny, y tân yn crynu, a'r holl greaduriaid yn boenus wrth lewygiad yr anweledig Ysbryd, yspeilio uffern yn nyoddefaint y Goruchaf; gan hyny fe'u bernir hwy i gerydd. Yna y Goruchaf a wrandawodd dy weddi i'th neillduo di oddiwrth anghyfiawnder, i'th wneuthur di yn fab, yn was, yn weinidog yn ei wydd ef, yn llusern gwybodaeth i oleuo Jacob, ac yn gwbl, i fod megys haul y dydd yn mysg meibion Israel; i ti ac i'th had y rhoddir gallu y fendith, hyd oni ymwelo Duw a'r holl genedloedd yn ymysgaroedd trugaredd ei Fab yn dragywydd. Er hyn i gyd, dy feibion a roddant eu dwylaw arno, ac a'i croeshoeliant ef, ac ar yr achos hwn doethineb a dealltwriaeth a roddir i ti, i roddi i'th blant wybodaeth o hono, o herwydd, os bendithiant hwy ef, hwy a fyddant fendigedig, a'r rhai a'i melldigo ef a dderfydd am danynt yn ei wydd ef.

A'r angel a agorodd i mi borth y nefoedd, a mi a welais y deml santaidd, a'r Goruchaf yn eistedd ar orseddfainc y gogoniant, ac a ddywedodd wrthyf, Lefi, Mi a roddes i ti fendithion yr offeiradaeth, hyd oni ddelwyf fy hunan i breswylio yn nghanol Israel.

Yna yr angel a'm dygodd i lawr i'r ddaear, ac a roddodd i mi gleddyf a tharian, gan ddywedyd, Gwna ddial yn Sichem am Dinah, a myfi a fyddaf gyda thi, canys Duw a'm hanfonodd i; ac yn yr amser hwnw y lleddais i feibion Hamor, fel y mae yn ysgrifenedig yn llechau y nefoedd: a mi a ddywedais wrtho, Attolwg, dywed i mi dy enw, fel y galwyf arnat yn amser trallod. Ac yntau a'm hatebodd i, ac a ddywedodd, Myfi ydyw yr angel sydd yn esgusodi Israel, fel na tharawer ef yn dragywydd; canys mae yr holl ysbrydion drwg yn gwneuthur cynllwyn arnynt.

Ac ar ol i mi ddeffro, megys allan o gwsg, mi a fendithiais y Goruchaf, a'r angel yr hwn oedd yn esgusodi hîl Israel, a'r holl rai duwiol. A phan ddaethum at fy nhad, myfi a gefais sarff o bres, oddiwrth ba un y cymmerth y bryn enw Aspis, yr hwn sydd yn agos Gebar, o'r tu deau i Abila: a mi a roddais y pethau hyn i fyny yn fy nghalon, ac a gynghorais fy nhad, a'm brawd Reuben, i annog meibion Hamor i enwaedu arnynt, canys yr oeddwn i yn eiddigus flinderog oblegid y ffieidd-dra a wnaethant hwy yn Israel, ac yn gyntaf o'r cwbl mi a laddais Sichem, a Simeon a laddodd Hamor; ar ol hyny daeth ein brodyr, ac a darawsant y ddinas â min y cleddyf; a phan glybu fy nhad hyny, bu ddigllon iawn ganddo, am iddynt dderbyn yr enwaediad, a'u lladd hwynt gwedi hyny; ac am hyny fe a ddeliodd ffordd arall â ni yn ei fendith, am i ni bechu yn gwneuthur felly yn erbyn ei ewyllys ef, ac efe a syrthiodd yn glaf y dydd hwnw; ond mi a wyddwn fod yr Arglwydd yn bwriadu drwg yn erbyn y Sichemiaid, oblegid iddynt cyn hyny, fwriadu gwneuthur y cyffelyb beth â Sara, ag a wnaethant a'n chwaer Dinah, ond Duw a'u hattaliodd hwynt; hwy a erlidiasant ein tad Abraham (megys dyeithr), ac a yrasant ei

dda ef ymaith; ac yn mhellach, fe ddarfu iddynt guro Joblac yn ddrwg, yr hwn a anesid yn ei dŷ ef; ac yn y modd hwn y gwnaent hwy â phob dyeithriaid, gan gymmeryd ymaith eu gwragedd oddi wrthynt drwy drais, ac ymlid y gwyr allan o'u gwlad; am ba achos digofaint Duw a ddaeth arnynt hwy yn y diwedd. Mi a ddywedais wrth fy nhad, Syr, na thramgwydda, canys Duw a ddwg y Canaaneaid i ddim o'th flaen di, ac a rydd eu tir hwynt i ti, ac i'th santaidd hâd ar dy ol di: canys o hyn allan Sichem a elwir yn ddinas yr ynfydion, o herwydd fel y bydd i rai watwar ffyliaid y darfu i ninnau eu gwatwar hwynt, am wneuthur y fath ynfydrwydd yn Israel, a chymmeryd ymaith ein chwaer ni i'w halogi.

Yna y daethom ni i Bethel, ac ar ol i mi aberthu deg a thrugain o ddyddiau ynghyd, mi a welais drachefn y peth a welswn o'r blaen. Ac mi a welais saith o wŷr mewn gwisgoedd gwynion, yn dywedyd wrthyf, Cyfod, a dyro am danat wisg yr offeiriadaeth, coron cyfiawnder, rheswm dealltwriaeth, gwisg y gwirionedd, dwyfroneg ffydd, meitr santeiddrwydd, ac ephod y brophwydoliaeth. Ac felly, pob un o honynt a ddygasant ryw beth gydag ef, ac a'i dodasant am danaf; gan ddywedyd, Bydd di o hyn allan yn offeiriad i'r Arglwydd, tydi, a'th hâd yn dragywydd.

A'r cyntaf a'm heneiniodd ag olew santaidd, ac a roddes i mi deyrn-wialen barn.

A'r ail a'm golchodd â dwfr glân, ac a'm porthodd â bara a gwin, sef o'r tra santeiddiolaf, ac a'm gwisgodd â gogoneddus wisg hyd y llawr.

Y trydydd a roddes i mi wisg o sidan, tebyg i ephod.

Y pedwerydd a'm gwregysodd â gwregys, tebyg i borphor.

Y pummed a roddodd i mi gangen o olewydden, yn llawn brasder.

Y chweched a roddodd feitr yr offeiriadaeth am fy mhen.

Y seithfed a lanwodd fy nwylaw ag arogl-darth, fel y byddai i mi wasanaethu swydd yr offeiriadaeth i'r Arglwydd.

Ac efe a ddywedodd wrthyf, Lefi, i dri pheth pennodol y mae dy hâd di gwedi eu trefnu gan Dduw, yn enwedigol, i fod yn arwydd o'r gogoneddus Arglwydd sydd i ddyfod; a'r hwn a gredo a fydd gyntaf, a'r goelbren fawr a syrth arno ef; yr ail a fydd yn offeiriad; a'r trydydd a gaiff enw newydd: brenin a gyfyd i fyny yn Juda, ac a adnewydda fy offeiriadaeth yn ol dull y Cenedloedd, yn mysg yr holl bobl; ond ei ddyfodiad ef sydd annhraethadwy, sef, Pwy a gaiff fod yn brophwyd i'r Goruchaf, gwedi ei eni o Abraham ein tad? "Holl hyfryd bethau Israel a roddir i ti, ac i'th had; a chwi a fwytewch yr holl bethau teg yr olwg; a'th had di a gyfrena yr Arglwydd, ac o honynt hwy y bydd yr arch-offeiriadau, barnwyr, ac ysgrifenyddion; canys yn eu genau hwy y cedwir pethau'r Santaidd."

A phan ddeffroais, mi a ddeallais fod y weledigaeth yma megys y llall, ac mi a'i gosodais hi i fyny yn fy nghalon, ac nis dangosais i mo hyn i un dyn byw ar y ddaear.

Y deuddydd cyntaf yr aethum i a Juda at ein tad Isaac, ac efe a'm bendithiodd i yn ol geiriau y weledigaeth a welswn. Ond efe ni fynai fyned gyda ni i Bethel.

Ond pan ddaethom i Bethel, fy nhad Jacob a welodd mewn gweledigaeth mewn perthynas i mi, y byddai i mi fod yn offeiriad iddynt hwy o flaen yr Arglwydd; ac efe a gododd y boreu, ac a ddegymodd gymmaint oll a feddai, trwof fi, i'r Arglwydd.

Yna y daethom ni i aros i Hebron, ac yn mhen ennyd Isaac a'm galwodd, i agoryd cyfraith yr Arglwydd, yn ol yr hyn yr ydoedd angel Duw wedi ei ddangos i mi, ac efe a ddangosodd i mi gyfraith yr offeiriadaeth, aberthau, poeth-offrymau, blaen-ffrwythau, aberthau gwirfodd, ac aberthau hedd; bob dydd efe a ddysgodd i mi ddealltwriaeth, ac a'm galwodd yn wastadol o flaen yr Arglwydd, gan ddywedyd Fy mab, na ddod glust i ysbryd godineb, canys efe a'th ddilyn di, ac a haloga y pethau santaidd trwy dy had di; gan hyny cymmer wraig yn dy ieuenctyd, y cyfryw un ag ni byddo dim anaf nac aflendid, nac a fyddo o genedl yr Aifftiaid, nac o'r Cenedloedd; a chyn yr elech di i'r santeiddiolaf, ymolch, ac yr un modd pan aberthech, a hefyd pan aberthech i'r Arglwydd, a hefyd pan orphenech offrwm i'r Arglwydd, ffrwyth y deuddeg pren y rhai ydynt byth yn wyrddion, megys y'm dysgodd fy nhad Abraham i wneuthur; a ffrwyth holl anifeiliaid glân, ac ehediaid glân, yr offrymi; ac yn yr un modd yr offrymi dy gyntaf anedig o bob peth, a'r blaen-ffrwyth o'th win, a thaenella dy holl aberthau â halen.

Ac yn awr, gan hyny, fy meibion, cedwch yr holl bethau yr ydwyf yn ei orchymyn i chwi; canys pa beth bynag a glywais i gan fy nhadau, hyny yr ydwyf yn ei fynegi i chwi, a glân ydwyf oddiwrth eich pechodau chwi, a wneloch hyd ddiwedd y byd. Chwi a weithredwch anwiredd yn erbyn Achubwr y byd; a chwi a hudwch Israel, gan gyffroi i fyny yn ei erbyn ef, lawer o ddrygioni oddiwrth yr Arglwydd; trwy ddelio yn annuwiol ag ef, fel na fyddo Jerusalem barhau, o blegid eich ffieidd-dra chwi; a llen y deml a rwygir yn ddrylliau, i ddadguddio eich brynti chwi; a chwi a wasgerir megys carcharorion yn mysg y Cenedloedd; a chwi a watwerir, a felldithir, ac a sethrir dan draed: er hyn i gyd, y tŷ a ddewiso yr Arglwydd a elwir Jerusalem, fel y mae yn gynnwysedig yn llyfr Enoch y cyfiawn.

Ac felly pan oeddwn yn 28 mlwydd oed, cymmerais wraig, yr hon ydoedd a'i henw Melcha, a hi a feichiogodd ac a esgorodd ar fab, ac a alwodd ei enw ef Gershon, o blegid nad oeddem ni ond dyeithriaid yn y tir; canys Gershon sydd yn arwyddocau alltudiaeth: ond mi wyddwn am dano ef, na chai fod o'r graddau penaf.

Yr ail oedd Cohath, yr hwn a aned yn y 35 flwyddyn o'm bywyd: ac mi a welais weledigaeth tu a'r dwyrain, y modd yr oedd yr holl gynnulleidfa yn sefyll yn ddyrchafedig; ac am hyny mi a roddais ei enw ef Cohath, yr hwn sydd yn arwyddocau dechreuad mawredd a dysgeidiaeth.

Y trydydd ydoedd Merari, yr hwn a aned yn y 55 flwyddyn o'm bywyd; ac oblegid fod ei fam yn galed arni wrth esgor, hi a'i galwodd Merari, yr hwn sydd yn arwyddocau, fy chwerwder.

Ac yn y 64 flwyddyn o'm bywyd, y ganwyd fy merch Jochebed yn yr Aifft; ac yno yr oeddwn yn anrhydeddus yn mhlith fy mrodyr.

Ac yno fy mab Gershon a gymmerodd iddo wraig, hi a ymddug iddo Libni a Simi. Meibion Cohath oedd Amram, Is-har, Hebron, ac Uzzïel. A meibion Merai oedd Mahali, a Musi.

Yn y 91 o'm bywyd, Amram a gymmerodd iddo yn wraig fy merch Jochebed, o blegid ei geni hi ac yntau yr un diwrnod.

Wyth mlwydd oed oeddwn, pan aethum gyntaf i wlad Canaan. Dau naw mlwydd oeddwn pan aethum gyntaf i swydd yr offeiriadaeth. Ac wyth mlwydd ar hugain oeddwn pan gymmerais wraig. A deugain mlwydd oeddwn pan aethum i'r Aifft: ac wele yn awr chwi yn blant i'm plant i, yn y drydydd genedlaeth. Joseph a fu farw yn y ganfed ar ddegfed flwyddyn o'i fywyd.

Ac yn awr, fy mhlant, yr ydwyf yn eich rhybyddio chwi i ofni yr Arglwydd eich Duw â'ch holl galon; a rhodiwch yn uniawn yn mhob peth yn ol ei gyfraith ef. Ac yn mhellach, dygwch i fyny eich plant mewn dysgeidiaeth, fel y gallant gael dealltwriaeth wrth ddarllen cyfraith yr Arglwydd yn ddibaid holl ddyddiau eu bywyd; canys pwy bynag a adnabyddo gyfraith Duw, a anrhydeddir; ac i ba fan bynag yr elo ef, ni bydd ddyeithr; ac a gaiff hefyd fwy o gyfeillion nag a gafodd ei dadau o'r blaen; a llawer a fydd llawen ganddynt ei wasanaethu ef, a chlywed y gyfraith allan o'i enau ef.

Fy meibion, deliwch yn uniawn ar y ddaear, fel y galloch gael y nefoedd, hauwch bethau da yn eich meddyliau, fel y caffoch chwi hwynt yn eich bywyd; canys os chwi a hauwch bethau drygionus, chwi a fedwch drwbl, a phob math ar gymbrusrwydd. Ceisiwch ddoethineb yn ofn Duw; canys os caethiwed a ddaw, a dystrywio gwledydd a dinasoedd, aur, ac arian, a phob meddiannau yn darfod am danynt, etto nid oes neb a all gymmeryd ymaith ddoethineb y doeth, ond yn unig dallineb annuwioldeb a phechod: canys doethineb a fydd megys tarian iddo yn mysg ei elynion, ac a wnaiff wledydd dyeithr i fod megys cartref iddo, ac a gaiff gymdeithas yn nghanol ei elynion, os dysg, a gwneuthur y cyfryw bethau, efe a gaiff eistedd gyda breninoedd, fel ein brawd Joseph.

Ac mewn gwirionedd, yr ydwyf yn deall wrth ysgrifeniadau Enoch, y bydd yn y diwedd i chwi wneuthur yn anwireddus, a gosod eich dwylaw yn waradwyddus ar yr Arglwydd, a thrwoch chwi, eich brodyr a waradwyddir, ac a wneir yn watwargerdd i'r holl Genedloedd: ond pa fodd bynag, Israel sydd lân oddiwrth anwiredd yr archoffeiriaid, y rhai a osodant eu dwylaw ar Achubwr y byd; ïe, y nefoedd uchod a'r ddaear sydd lân; ac os chwi ydych oleuni y cenedloedd, fel yr haul a'r lleuad, beth a wna yr holl genedloedd os chwi a orchuddir ag anwiredd, ac a

ddygwch felldith ar eich gwlad, er mwyn pa rai, goleuni y byd a roddwyd ynoch chwi, i oleuo yr holl bobloedd ag ef: dyma oleuni y byd, yr hwn y bydd i chwi yn ewyllysgar ei ladd, a dysgu gorchymynion yn y gwrthwyneb i gyfiawnder Duw.

Chwi a ddarn-guddiwch offrwm yr Arglwydd, ac a ddygwch ddrabiau o hono.

Cyn y gwneloch eich offrymau i'r Arglwydd, chwi a ladratewch ymaith y pethau dewisol, ac a'i bwytewch yn waradwyddus gyda phuteiniaid a budrogod, gan ddysgu gorchymynion cybyddlyd.

Chwi a halogwch wragedd priodol, ac a dreisiwch forwynion yn Jerusalem.

Chwi a ymgyfathrechwch â phuteiniaid.

A chwi a gymmerwch ferched y cenedloedd yn wragedd, gan eu puro hwy ag anghyfiawnder puredigaeth; a'ch cymmysgedd chwi a fydd yn gyffelyb i Sodom a Gomorra.

A chwi a lyncir ag anwiredd yn yr offeiriadaeth, yn gymmaint ag y byddo i chwi yn dra chywilyddus a gwaradwyddus watwar y pethau santaidd; nid yn unig ymddyrchafu ac ymffrostio eich hunain yn erbyn dynion, ond hefyd ymchwyddo i fyny gan falchder yn erbyn gorchymynion Duw.

O herwydd hyn, teml yr Arglwydd, yr hon a ddewiso, yn ddiammau a adewir yn anghyfanedd mewn aflendid; a chwithau eich hunain a ewch i gaethiwed, ac a fyddwch yn ffieidd-dra yn mysg y cenedloedd, ac a dynwch ddi-ddiwedd gywilydd a gwarth trwy gyfiawn farn Duw; a phawb a'ch gwelo a'ch ffieiddiant. Ac oni buasai er mwyn Abraham, Isaac, a Jacob, ni adewid un o'm hâd i ar y ddaear.

Ac yn mhellach, yr ydwyf yn gwybod wrth lyfr Enoch, y bydd i chwi fyned ar gyfeiliorn dros yspaid deg a thrugain o wythnosau, ac a halogwch yr offeiriadaeth, a ddiwynwch yr aberthau, a ddinystriwch y gyfraith, ac a ddirmygwch leferydd y prophwydi; ac yn rhyfygus yr erlidiwch y cyfiawn, y casewch y duwiol, ac y ffieiddiwch fater y bobl grefyddol; a galw y rhai a elont ynghylch adnewyddu y gyfraith trwy allu y Goruchaf yn hereticiaid, ac yn y diwedd chwi a'i lleddwch ef allan o law, heb wybod y cyfyd ef drachefn; ac felly chwi a dderbyniwch ei waed gwirion ef yn ewyllysgar ar eich penau; ac o'i blegid ef, eich lleoedd santaidd chwi a adewir yn anghyfanedd, y rhai a halogwch chwi trwy ddygn anudoniaeth, a'ch trigfanau ni byddant lân, ond chwi a fyddwch felldigedig yn mysg y cenedloedd, a digalonrwydd a'ch blina, hyd oni ymwelo efe â chwi drachefn, a'ch derbyn chwi yn drugarog trwy ffydd a dwfr.

Ac yn gymmaint ag i chwi glywed am y deg a thrugain o wythnosau, gwrandewch hefyd mewn perthynas i'r offeiriadaeth; canys yn mhob Jubili, neu lawen ryddhad, y bydd yr offeriadaeth.

Yn y Jubili gyntaf, y cyntaf a eneinir a fydd mawr, ac a ymddyddan â Duw megys a'i dad; a'i offeiriadaeth ef a fydd yn llawn o ofn yr Arglwydd, ac yn nydd ei lawenydd, fe a gyfyd er iachawdwriaeth y byd.

Yn yr ail Jubili, yr Eneiniog a genedlir yn nhristwch y rhai anwyl, a'i offeiriadaeth ef a fydd anrhydeddus, ac efe a fydd anrhydeddus, ac a ogoneddir yn mysg yr holl bobl.

Y drydydd offeiriadaeth a gymmerir i fyny mewn tristwch.

A'r bedwerydd a fydd mewn blinder, o herwydd amldra yr anwireddau a osodir arno ef trwy holl Israel, a phob dyn a gasâ ei gymmydog.

Y bummed a ddelir yn dŷn mewn tywyllwch; ac yn yr un modd y chwechfed a'r seithfed.

Ac yn y seithfed y bydd y cyfryw ffieidd-dra o flaen Duw a dyn, fel nad wyf fi abl i'w eglurhau ef; pa fodd bynag, y gweithredwyr o hono ni byddant adnabyddus: ac o herwydd hyny, hwy a fyddant mewn caethiwed a llygredigaeth, a'u tir a'u cyfoeth a ddyfethir.

Ond yn y bummed wythnos, hwy a ddychwelant i'w gwlad anghyfannedd, ac a adnewyddant dŷ yr Arglwydd.

Ac yn y seithfed y daw offeiriadau yn addoli eulunod, rhyfelwyr cybyddlyd, ysgrifenyddion anghyfiawn, a budr ddirmygwyr dynion, plant, ac anifeiliaid.

Ar ol i'r Arglwydd ddanfon dialedd arnynt hwy yn yr offeiriadaeth, yna y cyfoda Duw Offeiriad newydd, i'r hwn yr agorir holl air yr Arglwydd: ac efe a wna wir farn ar y ddaear, dros lawer o ddyddiau: a'i seren ef a gyfyd yn y nefoedd.

Fel brenin y tywallt allan oleuni gwybodaeth yn yr eglur dywyniad, megys haul y dydd; ac efe a fawrygir dros yr holl fyd, ac a dderbynir; efe a dywyna fel yr haul ar y ddaear; yn ei ddyddiau ef y nefoedd a lawenycha, a'r ddaear a ymhyfryda, y cymylau a ymorfoleddant, a gwybodaeth o'r Arglwydd a dywelltir allan fel dyfroedd ar y ddaear; ac angylion y gogoniant, y rhai ydynt yn mhresennoldeb yr Arglwydd, a ymlawenychant ynddo ef, a'r nefoedd a agorir, ac allan o deml y gogoniant y daw santeiddrwydd arno ef, gyda lleferydd y Tad (megys oddiwrth Abraham tad Isaac), a gogoniant y Goruchaf a daenellir allan arno ef, ac ysbryd dealltwriaeth a santeiddrwydd a orphwys arno, o ba un efe a rydd yn helaeth ac yn alluog i'w blant yn y gwirionedd yn dragywydd; ac ni ddaw yr un ar ei ol ef o genedlaeth i genedlaeth hyd ddiwedd y byd. Yn ei offeiriadaeth y diwedda pob pechod, a'r anghyfiawn a beidiant a'u drygioni, eithr y cyfiawn a orphwys ynddo, ac efe a agora byrth Paradwys, ac a attal y cleddyf bygythiol yn erbyn Adda; ac a bortha ei ŵyn â ffrwyth y bywyd, ac ysbryd santeiddrwydd a fydd ynddynt hwy; efe a rwym i fyny Belial, ac a rydd i'w blant ei hun allu i sathru i lawr ysbrydoedd niweidiol; a'r Arglwydd a ymlawenycha yn ei blant, a hwy a fyddant gymmeradwy ganddo ef yn dragywydd fel ei anwylyd. Yna Abraham, Isaac, a Jacob, a lawenychant, ac y gorfoleddaf finnau gyda'r saint oll.

Yn awr, fy mhlant, chwi a glywsoch y cwbl oll: am hyny dewiswch i chwi naill ai'r goleuni, ai'r tywyllwch; naill ai cyfraith yr Arglwydd, ai gweithredoedd Belial.

A hwy a atebasant eu tad, gan ddywedyd, Nyni a rodiwn o flaen yr Arglwydd yn ol ei gyfraith ef.

Yna Lefi a ddywedodd, Yr Arglwydd sydd dyst, a'r angylion a minnau ydynt dystion, a chwithau ydych dystion o eiriau fy ngenau.

Hwythau pan atebasant, a ddywedasant, Nyni a fyddwn dystion.

Gwedi rhoddi y gorchymyn yma i'w blant, Lefi a orphwysodd, ac a estynodd ei draed, ac a gasglwyd at ei dadau, gwedi iddo fyw 137 o flynyddoedd; a hwy a'i dodasant ef mewn arch, ac a'i claddasant ef ar ol hyny yn Hebron, yn ymyl Abraham, Isaac, a Jacob.

*(I'w barhau.)*

---

## YMDDYDDAN RHWNG WESLEY A SANT.

WESLEY.

PA beth yw y rheswm—O dywed y gwir,
It' adael y *Wesleys*, gwyr duwiol ar dir,
A myn'd at y *Seintiau* celwyddog di-ras,—
Mae pawb yn eu herlid, ac iddynt yn gas.

SANT.

Y gwir, syr, wnaf ateb, y rheswm paham,
Nad oeddwn yn foddlawn i'r beibl gael cam;
A thyna y rheswm im' fyn'd at y Saint,—
Gwyn fyd pe ba'ech chwithau yn dewis y fraint!

WESLEY.

Y fraint a ddywedaist? och, ffei, na fydd ffol,
Nid oes eisieu gwyrthiau er dyddiau sant Paul;
Am hyny pa'm hònwch eich bod yn mwynhau
Gwir ddoniau yr Ysbryd, y rhai ydynt gau.

SANT.

Arafwch ychydig, eich haeriad noeth yw,
Mae genyf *wybodaeth* am eglwys ein Duw;
Mi wn fod ei doniau yn para yr un;
Pob rhai a ddaw iddi, gânt wybod eu hun.

WESLEY.

Nid meddwl yr Iesu, ond hollol yn groes,
Oedd iddynt i bara, medd Rabbies ein hoes;
Yn amgen nis credaf tra byddwyf mewn byd,
Er cynnyg cael profion yn gysson o hyd.

SANT.

A ydych yn cofio y sarff hono fu
Yn Eden yn gwyrdroi gwir eiriau'n Duw ni?
Yn debyg i hono debygaf eich bod;
Ystyriwch chwi bellach, mae barn etto 'ddod;

Am hyny, rhowch heibio i wrando pob un
A wada ysgrythyr y Duw mawr ei hun;
A deuwch heb oedi i eglwys Mab Duw,
Cewch dderbyn gwybodaeth—gwirionedd oll yw.

*Garnddiffaeth.* ISAAC REES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

PENCHWIBANDOD.—A ganlyn sydd ddyfyniad o draethawd ar Babyddiaeth a'r Beibl, gan y Parch. E. Davies, Newmarket (Annibynwr):—"A gwaeth, neu waelach na'r Pabyddion yw y Mormoniaid—dewisant gael eu galw yn 'Saint y dyddiau diweddaf.' Wyf yn deall am gannoedd o Gymry, a dderbyniasant Formoniaeth, er eu dinystr bydol a bythol! Joe Smith, America, ei sylfaenydd—y 'Mormon book,' gweledigaethau a dychymmygion, yn lle gair Duw—ffug-wyrthiau a chelwyddau er hudo a thwyllo y wlad—dywedant am Dduw Dad fod iddo gorff fel creadur—maent yn Eulun-addolwyr, o'r fath waethaf a hyllaf! Y dynion mwyaf diwerth—rhy ddiog i weithio, mwyaf annysgedig, hyfion a haerllug, yn myned o draws y wlad, a thrwy gelwyddau, yn addaw gwneuthur gwyrthiau, ac yn taeru ond iddynt gael trochi dynion, y byddant ailanedigion wedi dyfod o'r dwfr, y cânt weledigaethau o'r nef, &c. * * * Mae Pabyddiaeth yn rhagori filwaith ar Formoniaeth."

ARDDODIAD DWYLAW.—Clywch pa beth a ddywedir yn Nghofiant y Parch. W. R. Davies, Dowlais, yn "Seren Gomer" am Chwef., 1851, tud. 57:—"Yr oedd yr hyn a elwir 'gosodiad,' neu 'arddodiad dwylaw,' mewn bri mawr yn Nowlais pan ddaeth ef yno—yr oedd yn erthygl bwysig yn marnau eu ffydd; ond nid oedd ganddo ef nemawr o olwg ar yr arferiad, a llwyddodd i'w *weddio* allan o'r eglwys. Pan yn dodi ei ddwylaw ar ben y bedyddiedig, gweddiai fel y canlyn:—'O, Arglwydd, bendithia y brawd hwn (neu y chwaer hon), a gwna faddeu i ninnau am wneyd pethau fel hyn er *mwyn boddio ein gilydd,* a ninnau yn gwybod ein bod yn gweithredu yn hollol groes i reol dy air di, er mwyn Iesu Grist. Amen."

CELFYDDYD ardderchog yw i ddyn adnabod ei hunan yn dda; a dewrder ardderchog yw gwybod y ffordd i ymostwng.

Symudiad.—Mae ein llythyrenau a'n hargraffwasg wedi eu symud i'r State House, lle y dymunwn i'n hargraffyddion gael aros heb eu haflonyddu, *a neb i beidio dyfod i mewn.* Gellir gwneyd pob busness mewn perthynas i'r papyr a'r argraffu, efo Thomas Bullock yn y Llythyrdy, neu gyda'r Golygydd yn ei ystafell, y drws cyntaf yn ddeau-orllewinol i'r State House.—*Deseret News,* Awst 31, 1850.

Gwobrwyo Meddwdod.—"Gwelwch fod yn dda i roi pwt bach o bib i 'nhad," meddai rhyw hogyn bratiog wrth dafarnwr. "Allwn ni ddim rhoi, ac nid y'm yn ei 'nabod," ebe yntau. "Wel, mae fe'n meddwi yma bob nos Sadwrn," atebai'r hogyn. "O, ydy' fe, 'run bach i?" meddai y tafarnwr; "wel, dyna bib hir ffein iddo, fy ngwas i, a thipyn o gwyr ar ei phen."

Benywod Byr-eiriog.—Gofynwyd i fenyw yn y mwngloddiau aur, pa mor hir y bu yno yn cloddio, a pha faint oedd yn gael y dydd? Yr ateb oedd, "Tair wythnos ac wns." Dro arall, yr oedd merch yn dychwelyd o'r farchnad, a gofynodd boneddig iddi beth oedd dyfnder yr afon, a pha beth a gafodd am yr ymenyn? "Hyd y benlin a naw ceiniog," ebe hithau.—Ddarllenydd, os wyt am wraig, myn un felly, fel y mynodd y boneddig y ferch hono, gyda pha un y bu fyw yn hapus.

Cofiwch beidio llefaru am danoch eich hunain ond mor anfynych ag y byddo modd. Os bydd i chwi ganmawl eich hunain, nid yw ond balchder; os bydd i chwi feio eich hunain, nid yw ond ffolineb.

Agoriad Capel.—Agorwyd capel y Tabernacl, yn Hirwain, at wasanaeth Saint y Dyddiau Diweddaf, dydd Sul, yr ail o'r mis hwn, lle y bu yr Henuriaid Phillips, Davis, Jones, ac ereill, yn pregethu, i gynnulleidfa liosog. Mae dylanwad da wedi ei adael ar ol yn y lle, a gobeithiwn y gwneir gwaith mawr. Mae capeli yn rhwyddach i'w cael genym yn awr, nag yr oedd ystafelloedd pan ddechreuasom.

J. H. Flanigan.—Bu farw yr henuriad ffyddlawn Flanigan, yr hwn oedd yn lywydd ar gynnadledd Birmingham, ar y 29ain o Ionawr diweddaf, o'r frech wen. Claddwyd ef yn anrhydeddus ar y 31ain.

Doethineb, rhinwedd, a gwroldeb, ydynt yn feddiannol ar hawl naturiol i lywodraethu; efe yn unig a ddylai orchymyn ereill yr hwn sydd ganddo fywaf o ddoethineb i wybod beth sydd gyfiawn, mwyaf o rinwedd i ymlynu wrtho, a mwyaf o wroldeb i'w osod mewn gweithrediad.

Cyfyng o'r ddau du.—Os gweinyddaf yn un o ordinhadau yr eglwys (ar gais brawd neu chwaer), o fewn llywyddiaeth cangen na pherthynaf iddi, heb ganiatâd, yr wyf yn tori y rheol, ac os na wnaf, bydd i'r cyfryw ddigio wrthyf; ond er hyny, gwell yw genyf foddio Duw trwy gadw y rheol, na boddio dynion trwy ei thori.—T. H.

GAIR DA.—Gair da sydd fel tân wedi ei gynneu,—gellwch ei gadw i fyny yn hawdd; ond os bydd i chwi ei adael i ddiffodd unwaith, nis gellwch ei gynneu yn hawdd drachefn, o leiaf bydd yn hir cyn cynneu mor ddysglaer ag o'r blaen.

BEDD-ARGRAFF GELYN Y SAINT.

Dywedais fawr gelwyddau, dros y blynyddau maith,
Am grefydd y Mormoniaid, ond ofer fu fy ngwaith;
Cyhoeddais, do, ei hangladd,—o'i bedd mi dynais lun,
Ac wedi im' ei dori, es iddo'n grwn fy hun! T. H.

---

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir Cymmanfa yn Merthyr ar y 6fed o Ebrill, a tea party y prydnawn canlynol; yn Nbredegar, sir Fynwy, ar y 13eg; yn Abertawy, ar yr 20fed; yn Llanelli, sir Gaerfyrddin, ar y 27ain; ac yn sir Aberteifi, ar y 4ydd o Fai.

"H. E—s."—Mae eich bod yn cymmeryd chwech o bob rhifyn o'r "Athrawiaeth a'r Cyfammodau," i chwi eich hunan, yn dangos cryn ddaioni ynoch. Byddai yn dda i bawb sydd yn meddwl ymfudo yn fuan, os gallant, brynu rhai copiau dros ben, a'u rhwymo, fel y gallont eu gwerthu, am bris da, i'r Cymry yn America.

"E. D."—Dylech fynu tystiolaeth y dyn ei hunan, ac nid dweyd rhywbeth ail-law.

☞ Dymunwn wybodaeth fuan pa un a ewyllysir cyhoeddi yr "Athrawiaeth a'r Cyfammodau" bob wythnos, ai peidio. Mae y mwyrif o'r cangenau eisoes wedi dangos eu boddlonrwydd i hyny. Cawn etto ddysgwyl ateb oddiwrth y rhai ereill, cyn y penderfynwn ddim. Goreu i gyd pa gyntaf y gorphenir ef. Lle yr ofnir tlodi, yr attal Duw gyfranu.—Mae y talu am y llyfr hwn, yr un fath â llyfrau ereill, yr hyn y mae rhai yn fethu ddeall.

☞ Derbyniasom lythyr oddiwrth yr Henuriad Wm. Howells, o Liverpool, yn hysbysu ei fod yn bwriadu ymfudo ar y 3ydd o Fawrth, ar y llong Olympus, yn cynnwys 225 o Saint Seisnig, y rhai a gyflwynwyd i'w ofal ef. Aeth y brawd Henshaw ymaith yn yr un llong.

☞ Bwriadwn gyhoeddi traethawd O. Pratt, ar y "Great First Cause," yn Gymraeg, yn ddioed, pris 2g.

TALIADAU O CHWEF. 20. HYD MAWRTH 6.—Pontytypridd, £1 7s; Cwmbach, £1 2s; Dowlais, 6s 4c; Cwmnedd, 2s 6c; Georgetown, £1; Cefn, 5s 9c.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*"

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 6.] MAWRTH 22, 1851. [PRIS 1g.

### HELYNT Y SAINT AR Y CYFANDIR.

MAE gwaith Duw ar y cyfandir yn myned rhag ei flaen yn dra hwylus. Mae yr Henuriaid J. Taylor a Lorenzo Snow ar ymweliad yn Liverpool yn bresennol, a thrwyddynt hwy yr ydys wedi derbyn llawer o newyddion o'r cyfandir. Yr oedd yr Henuriad Taylor wedi bod yn meddwl dychwelyd i'r Dyffryn y tymmor hwn; ond ni allai ymfoddloni myned adref, heb yn gyntaf gael gweled Llyfr Mormon wedi ei gyhoeddi yn yr Ellmynaeg hefyd, yn gystal ag yn y Ffrengaeg, ynghyd â gweled yr Eglwys wedi ei sefydlu yn rhyw gwr o'r wlad hono, sef Germani. Mae nifer wedi eu bedyddio yn ychwanegol yn Ffrainc, ac argoelion da etto am ragor. Mae Erastus Snow yn ysgrifenu o Copenhagen (Denmark), dyddiedig Chwefror 19, fod un hanner o Lyfr Mormon mewn print, a meddylia y bydd yr hanner arall tua mis Mai; dywed fod yr henuriaid yno yn cyfarfod â digon o wrthwynebiad i gadw bywiogrwydd i fyny, a bod ynghylch dau cant wedi eu bedyddio, yn mhlith pa rai yr oedd dau frodor o Iceland, y rhai oeddent ar fyned â'r efengyl i wlad eu genedigaeth.

Mae yr Henuriad Lorenzo Snow wedi llwyddo i gyhoeddi dau draethawd yn Piedmont, Italy, y rhai a ddosperthir yn ddiwyd gan yr Henuriad Woodard yn y gymmydogaeth hono, a chan yr Henuriad Stenhouse yn Switzerland. Yn Piedmont, ar y 24ain o Chwefror, bedyddiodd y brawd Woodard ddau ddyn ieuanc, a boreu dranoeth bedyddiodd ddeg arall, y rhai ydynt oll yn gadarn yn y ffydd, ac yn danfon eu hanerchiadau at y Saint Prydeinig. A ganlyn ydynt eu hanerchiadau:—" 1. Bydded i ni gydgyfarfod

pan adnewyddir y ddaear. 2. Gweddiwch dros chwaer ieuanc sydd yn chwennych cynnyddu mewn gras. 3. Yn absennol yn y corff, ond yn un yn yr ysbryd. 4. Haleliwia, yr Arglwydd a gofiodd am ei bobl. 5. Os na chyfarfyddwn yn y cyrff hyn, boed i ni gofleidio ein gilydd yn yr adgyfodiad. [Hen frawd yn 62 oed.] 6. Yn nghanol gwendid, gobeithaf am nerth. 7. Gweddiwch dros frawd tlawd. 8. Boed i ni gael ein coroni â gogoniant pan gaffo y byd ei farnu." Y brodyr a'r chwiorydd ereill a ddanfonasant a ganlyn:—"Yr ydym yn diolch i'n Tad nefol ein bod wedi dechreu rhodio ar ffordd bywyd newydd ac annherfynol."

Mae ysbryd ymchwiliad ar ei gynnydd yn barhaus. Meddyliodd llawer y buasai y llafur a wariwyd ar y wlad hono yn myned yn ofer; ond nid felly yr aeth. Mae y brawd Snow yn penderfynu sefydlu Eglwys Crist yn y gwledydd hyny ar sylfaen gadarn, sef craig dadguddiad. Y mae efe ynghylch dechreu cyfieithu a chyhoeddi Llyfr Mormon yn yr iaith Italaidd, a bwriada ei orphen yn ddioed. Ar ol i'r llyfr hwn unwaith gael ei gyhoeddi yn yr iaith Danaidd, Italaidd, Ffrengig, a Germanaidd, ac i'r Eglwys gael ei sefydlu yn mhlith y gwahanol genedloedd hyn, bydd y bobloedd ag sydd yn cyfanneddu ochr orllewinol y cyfandir dwyreiniol hwn yn hysbys o athrawiaethau yr efengyl, megys ag yr eglurwyd gan y Prophwyd Joseph, yn eu hieithoedd eu hunain.

---

## TESTAMENT Y DEUDDEG PATRIARCH, SEF MEIBION JACOB.

[*Parhad o dud.* 81.]

### TESTAMENT JUDA,

*A wnaeth efe i'w blant ar ei farwolaeth, ynghylch Gwroldeb, Cybydd-dod, a Godineb.*

Cynghor Juda wrol hynod,
Ydyw ymgadw oddiwrth gybydd-dod,
Meddwdod, maswedd, a phuteindra,
Am fod hyn yn lladd y cryfa'.

Copiad o holl ymadrodd Juda, a lefarodd ef wrth ei blant yn nydd ei farwolaeth; pan ddaethant hwy ynghyd o'i flaen ef, efe a ddywedodd wrthynt, Myfi oeddwn y pedwerydd fab i'm tad, a'm mam a'm galwodd i Juda, gan ddywedyd, Yr ydwyf fi yn diolch i'r Arglwydd am iddo roddi i mi y pedwerydd mab.

Myfi oeddwn gyflym ar fy nhraed, a llafurus yn fy ieuenctyd, ac yn ufydd i'm tad yn mhob peth, ac a fendithiais fy mam a'i chwiorydd: a phan ddaethum i gyflwr gwr, fy nhad Jacob a weddiodd droswyf, gan ddywedyd, Ti a fyddi frenin ac yn llwyddiannus yn mhob peth. Ac wele, Duw a roddodd i mi ras yn fy holl waith, yn gystal oddi cartref a chartref.

Ar ryw amser myfi a welais ewig, ac a redais ar ei hol hi, ac a'i deliais hi, ac o honi hi mi a wneuthum fwyd da i'm tad.

Myfi hefyd a redwn yn gynt nâ'r iwrchod, ac a oddiweddwn bob peth ydoedd yn y maesydd, yn gymmaint â darfod i mi ddal cafeg wyllt, a'i dofi hi.

Ac a dynais fynn allan o safn yr arth, a chan ei gymmeryd ef erbyn ei balf, mi a'i gorthrechais ef.

A mi a rwygwn yn ddrylliau yr holl fwystfilod gwylltion a safent yn fy erbyn, megys pe buaswn eu ci.

Myfi a ymrysonais â baedd gwyllt, a chan ei orddiwes ef, myfi a'i rhwygais ef yn ddrylliau.

Ac yn Hebron, cymmysg-lew a neidiodd ar gi, a myfi gan gymmeryd gafael yn ei gynffon, a'i deliais, ac a'i hergydiais ymaith, ac yn y man fe dorodd ar ei draws.

Ac yn nhueddau Gath, tarw gwyllt ydoedd yn pori yn y maesydd, a myfi a ymeflais yn ei gyrn ef ac a'i hysgydwais o'm cwmpas, ac yn y diwedd mi a'i lleddais ef.

A dau o freninoedd y Canaaneaid a ddaethant yn arfog ar ein praidd, a llawer o bobl gyda hwy; a myfi fy hunan, gan redeg at y praidd, a neidiais at frenin Dur, a chan ei ddidroedi ef mi a'i gorthrechais, ac a'i lleddais ef.

A myfi hefyd a leddais frenin arall a elwid Thaphes, ydoedd yn eistedd ar y ceffyl, ac felly a wasgerais eu holl bobl hwynt.

Myfi a oddiweddais y brenin Achior y cawr, ar ei farch yn saethu yn ol ac yn mlaen, a chan daflu careg o drugain pwys ar ei farch, mi a'i bwriais ef i lawr, ac a'i lleddais; a chan ymladd ag Achior ddwy awr, mi a holltais ei darian ef, ac a archollais ei draed ef, ac yn y diwedd mi a'i lleddais ef; ac fel yr oeddwn yn tynu ymaith ei ddwyfroneg ef, wele wyth o'i gyfeillion ef a nesasant ataf fi; ar hyny myfi a lenwais fy nwylaw o geryg ac a'u hergydiais atynt â thafl, ac a leddais bedwar o honynt, ac a yrais y pedwar ereill i ffoi.

Ein tad Jacob a laddodd y cawr Beelisa brenin yr holl freninoedd, yr hwn ydoedd fawr a galluog, ei uchder oedd deuddeg cufydd: o herwydd y pethau hyn dychryn a syrthiodd arnynt, a hwy a beidiasant ag ymladd i'n herbyn.

Ac o herwydd hyn, fy nhad ydoedd ofalus am danaf, pan fyddwn mewn brwydr gyda fy mrodyr: efe a welodd mewn gweledigaeth o'm plegid; Y byddai angel y nerth y'm dilyn yn mhob lle, fel na'm gorchfygid.

Yr ail calenig ydoedd fwy brwydr i mi nâ'r hon a gawswn yn Sichem; yn gymmaint ag wrth ymladd yn wrol gyda fy mrodyr mi a ymlidiais fil o wŷr, ac a leddais o honynt ddau cant, a

phedwar brenin, a chan ganlyn ar eu hol hwynt, nyni a ysgoliasom waliau y ddinas, ac a laddasom ddau ychwaneg o'u breninoedd hwynt; ac a waredasom Hebron, ac a'u harweiniasom hwynt oll ymaith fel carcharorion.

Yn y dydd nesaf ni a ddaethom at ddinas gref gaerog nas gellid nesâu ati, a hon a elwid Arcca, yr hon a fygythiodd ein lladd ni, ond myfi a Gad a aethom o du y dwyrain i'r ddinas, a Reuben a Lefi o du y gogledd a'r deau, a hwythau y rhai a safent ar y gwaliau, gan dybied nad oedd neb ychwaneg ond Gad a minnau, hwy a roesant dân arnom, pan yn y cyfamser yr ydoedd fy mrodyr, y rhai ydoedd yn ddirgel, yn cynllwyn, gan dori allan o'r ddau tu arall arnynt hwy, a chan ddringo i fyny, ac ysgolio ar y gwaliau, nyni a ennillasom y ddinas yn ngwrth ein gelynion, ac felly ni a'i hennillasom hi wrth y cleddyf, ac a osodasom y tŵr ar dân, ac a'i llosgasom i fyny, gyda chynnifer ag a ffoisant iddo.

Ac fel yr oeddem yn dychwelyd, gwyr Thaffie oeddynt yn cynllwyn am ein hyspail ni, ac a'i cymmerasant gyda ein plant, ond nyni a'u cynllwynasom hwynt hyd yn Thaffie, ac a'u lladdasom hwy, ac a losgasom eu dinas, ac a yspeiliasom yr hyn oedd ynddi. A phan oeddem wrth ddyfroedd Gureba, nyni a syrthiasom ar wŷr Jobel, y rhai a ddaethent i ryfel i'n herbyn, ac a'u lladdasom, ac a ddygasom eu hyspail, a'u cynnorthwywyr hefyd, y rhai a ddaethent i'w hamddiffyn hwynt o Selon, ac felly ni roddasom iddynt ddim hamdden i ddychwelyd drachefn arnom ni.

A'r pummed dydd ar ol hyny y daeth gwyr Machir i gyrchu ymaith ein carcharorion, y rhai hefyd a ddarfu i ni eu cyfarfod yn y frwydr, er eu bod yn llu nerthol, ni a'u lladdasom hwynt cyn gallu o honynt fyned i'r lle y daethant allan o hono; a phan ddaethom ni i'w dinas hwynt, hwy a dreigliasant i lawr geryg atom o ben y bryn, ar ba un yr oedd y ddinas yn sefyll, ond myfi a Simeon gan dueddu at y tu cefn i'r ddinas, a ennillasom y lluoedd uchaf, ac a ddinystriasom yr holl ddinas.

Yr ail ddydd dywedwyd i ni fod dau frenin a'u holl ddinasyddion, yn dyfod i'n herbyn, a llu mawr iawn; gan hyny, myfi a Dan yn ymddangos ein hunain megys i fod yn Amortheaid, ac yn gymdeithion iddynt, a aethom i mewn i'r ddinas, ac wedi i ni fyned i mewn yn nhrymder y nos, ni a osodasom y pyrth yn llydan agored i'n brodyr oedd yn dyfod ar ein hol ni, trwy ba fodd y darfu i ni eu dinystrio hwynt, a chymmaint oll ag a feddent; a phan ddarfu i ni felly ddyfetha y ddinas, ni a fwriasom i lawr ei thair gwal hi.

Yna yr aethom i Thamna, yr hon oedd noddfa yr holl freninoedd yn eu rhyfeloedd; yno yr oeddwn yn ddigllon o blegid y briw a gawswn, mi a osodais ar y rheiny oedd yn sefyll oddi arnaf, ond hwy a daflasant geryg i lawr a'u ffyn-tafl, ac a saethasant â'u saethau, a hwy a'm lladdasent oni buasai i'm brawd Dan fy achub, am hyny ni a redasom arnynt hwy mewn cyffro,

ac a'u gyrasom hwynt oll i ffoi, a hwy gan fyned ffordd arall a aethant at fy nhad, ac yn ostyngedig a erfyniasant heddwch, ac yntau a wnaeth gyfammod â hwynt, fel nas gwnaethom iddynt niwed mwyach; eithr ni a'u derbyniasom hwynt mewn cyngbrair â ni, ac a roddasom iddynt eu holl garcharorion. Yna yr adeiladais i Chanma, a'm tad a adeiladodd Rambahel.

Ugain mlwydd oed oeddwn pan wnaethpwyd y rhyfel yma; a'r Canaaneaid oeddynt yn fy ofni i a'm brodyr.

Ac yr oedd genyf lawer o anifeiliaid; a'm pen bugail oedd Yean o Ocelam, yn nghwmpeini pa un y gwelais i Bersa brenin Odelam, yr hwn a wnaeth wledd i ni, a chyda llawer o erfyniadau, a roddodd ei ferch Bethusa yn wraig i mi, yr hon a ymddug i mi Er, Onan, a Selah; ond dau o'r tri hyn a laddodd Duw yn ddiblant; a Selah a fu fyw, plant i'r hwn ydyw rhai o honoch chwi.

Ond fy nhad a minnau a wnaethom ddeunaw mlynedd o heddwch a'i frawd Esau a'i blant. A pan ddarfu y deunaw mlynedd, ar ol i ni ddyfod fyny o Mesopotamia, yn y ddeugeinfed flwyddyn o'm bywyd, Esau brawd ein tad a ddaeth arnom â llu mawr a chryf, ond efe a laddwyd gan fŵa Jacob, ac a gariwyd yn farw i fynydd Seir; a ninnau hefyd a gynllwynasom ar blant Esau, eithr ei ddinas ef oedd gref iawn, a muriau uchel, a phyrth haiarn a phres, fel nas gallem fyned iddi; ond pa fodd bynag, nyni a'u cauasom hwynt i fyny ynddi hi, ac a'i hamgylchasom. Ond yn awr, pryd nad oeddynt yn ymddangos eu hunain allan dros ugain o ddyddiau yn nghyd, myfi a roddais fy helm am fy mhen, ac yn eu gwydd hwynt oll y gosodais i fyny ysgol, a chan ddringo y mur, myfi a leddais bedwar o'u gwŷr anrhydeddus hwynt â chareg o bwys tair talent; a'r dydd nesaf, Reuben a Gad a aethant ac a laddasant drugain ereill; yna hwy a gynnygiasant heddwch, a ninnau drwy gynghor ein tad, a'u derbyniasom hwy dan deyrnged, a hwy a roisant i ni ddau can chwarter o ŷd, a phum can bath o olew, a mil a phum can mesur o win; hyd onid aethom i waered i'r Aifft.

Ac yn ol hyny, Er fy mab a briododd Thamar o Mesopotamia, merch Aram; ond Er ydoedd impyn drygionus, ac yn ammheus oblegid Thamar, am nad oedd hi o wlad Canaan: oblegid hyn angel yr Arglwydd a'i lladdodd ef y trydydd nos ar ol priodi, pryd nas darfuasai iddo etto ymgyfeillachu a hi, o herwydd cyfrwysdra ei fam ef, ac felly efe a fu farw yn ei ddrygioni, canys anfoddlawn ydoedd iddo gael plant o honi hi.

Ond pan ddaeth Onan i amser priodi, mi a roddais Thamar iddo yn wraig; ac yntau hefyd yn dra gwrthnysig nid ymgyfeillachodd â hi, eithr gwedi iddo fyw ddwy flynedd gyda hi yn gyfan, pan y bygythiais ef, yna efe a ymgyfeillachodd; ond etto drwy orchymyn ei fam, efe a adawodd i'w hâd syrthio ar y llawr; ac felly bu yntau hefyd farw yn ei ddrygioni.

A mi a feddyliais hefyd am ei rhoddi hi i Selah, ond fy ngwraig

Bethsue nis gadawai i mi, o herwydd hi a groesai Thamar, am nad ydoedd o ferched Canaan megys ag yr oedd hi.

Eithr myfi a wyddwn mai drygionus ydoedd blaguryn Canaan; ond etto, fe ddwyllodd chwant ieuenctyd fy nghalon, fel ag yr oeddwn yn ei gweled yn tywallt allan win, myfi a dwyllwyd gan feddwdod, ac a syrthiais mewn cariad â hi.

Ond ar ryw amser a myfi oddi cartref, hi a briododd Selah â merch o Ganaan: ond pan ddeallais ei gweithred, mi a'i melldithiais hi yn chwerwder fy enaid, ac felly hi a fu farw yn anwiredd ei meibion.

Ac yn mhen dwy flynedd ar ol y pethau hyn, fel yr oeddwn yn myned i gneifio fy nefaid, Thamar a ymdrwsiodd ei hunan megys priod-ferch, ac a eisteddodd i lawr yn mhorth y ddinas; canys arfer yr Amoriaid oedd, y byddai i'w priodas-ferched hwy eu gosod eu hunain allan yn mhyrth y dinasoedd dros yspaid saith niwrnod yn nghyd, i'w halogi eu hunain â godineb; a minnau gwedi meddwi gan ddyfroedd Horeb, nid adnabum hi o herwydd y gwin, ac yn gymmaint a darfod i'w thegwch hi yn nghyd a'i gwisgiad, yn ei ymdrwsio ei hunan, fy nhwyllo, ac ar hyn, gan droi heibio gyda hi, mi a ddywedais, A gaf fi ddyfod i mewn atat ti? A hithau a'm hatebodd, Pa beth a roddi dithau i minnau? A mi a roddais iddi fy ffon a'm gwregys, a choron fy nheyrnas; a mi yn ymgyfeillachu a hi, hi a feichiogodd: ac ar ol hyny myfi heb wybod mai myfi oedd y gweithredwr o hyn, a fynwn ei rhoddi hi i farwolaeth am hyny, ond hi a gadwodd fy ngwystl yn y stock, ac a'm cywilyddiodd â hwynt; ond pan glywais i fy ngeiriau fy hunan ganddi hi yn ddirgel, y rhai a ddywedaswn i wrthi pan orweddais gyda hi yn fy meddwdod, nis gallwn ei rhoddi hi i farwolaeth, oblegid gwaith yr Arglwydd oedd; ond nis cyffyrddais â hi mwyach hyd ddydd fy marwolaeth; canys pan wnaethum y ffieidd-dra hwn yn Israel, mi a ddywedais, Rhag iddi weithredu twyll i mi, cyrchaf adref y ngwystl oddiwrthi hi; ond pan ymofynais i am dani hi, gwyr y dref a ddywedasant nad oedd yn y ddinas un briod-ferch, canys o le arall y daethai hi, ac nid eisteddasai hi yno ond dros ennyd fechan, a hi a dybiodd nas gwyddai neb oddiwrth fy mynediad i mewn ati.

Ac ar ol hyny ni a aethom i'r Aifft at Joseph, o herwydd y newyn: chwech a deugain oed oeddwn pan aethum yno, a thair ar ddeg a thrugain o flynyddoedd y bum i byw yn y lle hwn.

Ac yn awr, fy meibion, gwrandewch fi eich tad, yn mhob peth yr ydwyf yn ei orchymyn i chwi, a chedwch fy holl orchymynion, gan wneuthur pob math ar gyfiawnder o flaen yr Arglwydd, ac ufyddhau i orchymynion y gwir Dduw, ac na rodiwch yn ol eich trachwantau eich hunain, nac yn ol dychymmygion eich meddyliau, yn malchder eich calonau; ac na orfoleddwch chwaith yn ngweithredoedd cryfder eich ieuenctyd, oblegid fod hyny yn bechadurus yn ngwydd Duw.

Canys yn gymmaint â darfod i mi ymorfoleddu yn fy rhyfeloedd, a lliwied i'm brawd Reuben, Bilha gwraig fy nhad, oblegid

hyd hyny ni ddarfuasai i brydferthwch gwraig fy nhwyllo; am hyny, digywilydd-dra a godineb a syrthiodd arnaf, fel i'm daliwyd gan Bethsue y Canaanëes, ac hefyd gan Thamar gwraig fy meibion fy hunan.

Ac mi a ddywedais wrth fy nhad ynghyfraith, Mi a wnaethum fy nhad yn gydnabyddus â'r peth, ac am hyny mi a gymmeraf dy ferch yn briod i mi.

Ac ar ol hyny efe a ddangosodd i mi bentwr anfeidrol o aur; megys parthred neu gynnysgaeth ei ferch, canys ef ydoedd frenin; a chan ei thrwsio hi ag aur a pherlau, a ewyllysiodd iddi dywallt allan i ni win ar ein swper.

A thegwch y ferch, a'r gwin ynghyd, a dwyllodd fy llygaid, a phleser a siomodd fy nealltwriaeth, hyd oni syrthiais mewn cariad â hi, a chan dori gorchymyn Duw ein tadau, mi a'i cymmerais hi yn wraig i mi, yn ol bwriad fy nghalon. Ond yr Arglwydd a dalodd i mi hyd adref am hyny; canys ni chefais i lawenydd oddiwrth y plant a ddug hi i mi.

Yn awr, gan hyny, fy mhlant, na feddwer chwi gan win, canys gwin sydd yn troi dealltwriaeth dyn oddiwrth y gwirionedd, ac yn ennyn ynddo dân trachwant, gan arwain ei lygaid i gyfeiliornad; yn gymmaint â bod gwin yn was ysbryd trythyllwch, i helaethu ymborthiad y meddwl ar drachwant, felly y ddau hyn sydd yn difuddio dyn o'i holl allu: canys os yf gwr win hyd oni feddwo, y mae efe yn hyfforddi ei feddwl mewn budr amcanion trythyllwch, ac yn ennyn y corff i gnawdol gyfeillach; ac os dymunol achlysur a geir, pechod a weithreda yn ddigywilydd: y cyfryw, fy meibion, ydyw gwin, canys nid oes ar y meddw gywilydd o ddim.

Wele fe a wnaeth i mi â Thamar wneuthur ar fai, fel nas cywilyddiais wrth amldra y bobl yn y ddinas, eithr mi a droes heibio gyda hi yn eu gwydd hwynt oll, ac a weithredais bechod mawr, trwy ddadguddio dirgel aflendid fy meibion fy hun.

Wrth yfed gwin ni bu gywilydd arnaf dori gorchymyn Duw, trwy gymmeryd merch o Ganaan yn wraig i mi.

Gan hyny, fy meibion, anghenrheidiol yw i bob un a yfo win fod yn ddoeth, a'r ddoethineb a ddylai fod gan bob un wrth yfed gwin yw, bod arno gywilydd o yfed gormod; canys os efe a â y tu hwnt i'r terfyn yma, mae ef yn colli ei ddealltwriaeth, ac yn glynu wrth ysbryd cyfeiliornus, yr hwn sydd yn peri i'r meddwyn siarad brynti, a gwneuthur drygioni yn ddigywilydd, ac ymffrostio yn ei ddrygioni, gan dybied mai da yw.

Y rhai sydd yn gwneuthur godineb, sydd yn eu difuddio eu hunain o'r rhyddid, ac yn dyfod yn gaethweision i drythyllwch, ac heb allu dyfod allan o hono drachefn, megys ag y'm noethwyd innau: canys mi a roddais fy ffon, hyny yw, Atreg fy llwyth; a'm gwregys, hyny yw, Fy ngallu; a'm coron, hyny yw, Gogoniant fy nheyrnas. Ond pa fodd bynag, gan edifarhau mi a roddais ymaith bob gwin a chig hyd fy henaint; ac a fum yn gwbl anghydnabyddus â llawenydd.

Ac angel yr Arglwydd a ddangosodd i mi, y byddai i wragedd o amser i amser feistroli pob gwr, yn gystal breninoedd a chaethion, a difuddio gwyr mawrion o'u gogoniant; canys trueni y tlawd sydd fwy achles iddo na chryfder y galluog.

Am hyny, fy meibion, cedwch fesur wrth yfed, canys y mae ynddo bedwar ysbryd gwenwynllyd, sef Trachwant, Calon-losgfa, Trythyllwch, a Budr-elw.

Os yfwch chwi win yn llawen, ac yn ofn yr Arglwydd, gyda chrychwyledd, chwi a fyddwch byw: eithr os yfwch yn ddibris ac yn ddigywilydd, heb ofn Duw, yna y troaist ef yn feddwdod, ac y lladrateaist ffalsedd i fewn.

Eithr os chwi nid yfwch ddim gwin, yna ni phechwch, nac mewn geiriau enllibgar, nac mewn amrysonedd, nac mewn cabledd, na thrwy dori gorchymynion yr Arglwydd, ac ni ddyfethir chwi yn yr amser: oblegid gwin sydd yn dadguddio dirgelion Duw a dyn i ddyeithriaid, megys ag yr amlygais i ddirgeledigaethau Duw, a'm tad Jacob i Bethsue y Canaanëes, y rhai y gwaharddasai eu dadguddio iddynt: gwin sydd achos o ryfel ac amryfusedd.

Yn mhellach, fy meibion, yr ydwyf yn gorchymyn i chwi na charoch arian, ac na edrychoch ar degwch merched; canys arian a thegwch merched a barodd i mi fyned yn rhy bell yn mherthynas Bethsue y Ganaanëes. Ac y mae yn sicr genyf y bydd i'r ddau beth hyn lygru fy hiliogaeth, a gwrthyno gwyr doethion o'm llin i, a niweidio teyrnas Juda, yr hon a roddes Duw i mi am ufyddhau i'm tad; canys ni ddarfu i mi erioed rwgnach wrth orchymyn fy nhad Jacob, ond a wnaethum pa beth bynag a orchymynai.

Ac Abraham, tad fy nhadau, a'm bendithiodd i ymladd dros Israel; ac felly Isaac a'm bendithiodd yn yr un modd: ac yr ydwyf yn gwybod mai trwof fi y saif y deyrnas.

Ond mi a ddarllenais yn llyfr Enoch y cyfiawn, y bydd i chwi weithredu drygioni yn y dyddiau diweddaf.

Am hyny, fy mhlant, ymgedwch eich hunain oddiwrth gybydddra a thrythyllwch, a rhoddwch glust i'ch tad Juda; canys y pethau hyny sydd yn tynu dynion oddiwrth gyfraith Duw, ac yn dallu dealltwriaeth y meddyliau, gan ddysgu iddynt falchder; ac ni chynnwys i un dyn chwaith ddangos trugaredd i'w gymmydog: maent hefyd yn difwyno ei enaid o bob daioni, ac yn ei ddal ef i lawr mewn poenau a gofidiau, ac yn ei ddiddymu o'i gwsg ac o'i orphwysdra, ac yn dyfetha ei gnawd ef: ac yn ddiweddaf, maent yn rhwystro aberthau Duw, ac yn esgeuluso ei fendithion ef; yn anufyddhau i eiriau y prophwydi, ac yn tramgwyddo wrth air o dduwioldeb; canys y ddau beth niweidiol yma ydynt yn y gwrthwyneb i orchymynion Duw; a'r hwn a'u gwasanaetho hwynt, nis gall ufyddhau i Dduw, oblegid y maent yn cymmysgu meddyliau dynion, ac yn rhodio oddiamgylch yn gystal y nos a'r dydd.

Fy mhlant, cybydd-dod sydd yn arwain i eulun-addoliaeth; canys wrth ynfydu ynghylch arian, y mae yn galw yn dduwiau

y rhai nid ydynt, ac yn annog y blaid glwyfedig allan o fath i brisio yn dra gwael; canys o achos arian y collais fy mhlant, ac oni buasai i mi boenydio a darostwng fy nghorff a'm henaid, ac oni buasai gweddiau fy nhad Jacob, myfi a fuaswn farw yn ddiblant. Ond Duw fy nhadau, yr hwn oedd raslawn, ac yn llawn tosturi a thrugaredd, a wyddai mai trwy anwybodaeth y pechaswn, o herwydd tywysog cyfeiliorni a'm dallodd, a minnau a ollyngais fy hun yn rhy bell, megys dyn cnawdol, gan ymlygru â phechod, nid adnabum fy ngwendid fy hunan, eithr mi a dybiais am danaf fy hunan nas gellid fy ngorchfygu.

Gwybyddwch, gan hyny, fy meibion, fod dau ysbryd yn dysgwyl wrth ddyn, sef ysbryd gwirionedd ac ysbryd cyfeiliornad; rhwng y ddau hyn y gosodir ysbryd dealltwriaeth y meddwl, priodoliaeth pa un ydyw tueddu i'r lle yr ewyllysiom. Y pethau sydd yn perthyn i wirionedd ac i anwiredd ydynt ysgrifenedig yn mynwes dyn, a Duw sydd yn gwybod pob tipyn o hono, ac ni ddichon yr un o weithredoedd dynion fod yn guddiedig oddiwrtho ef, canys holl ddirgeledigaethau calonau meibion dynion ydynt ysgrifenedig o flaen yr Arglwydd, ac ysbryd y gwirionedd sydd yn dwyn tystiolaeth o'r holl bethau; ac yn cyhuddo y cwbl, a'r hwn sydd yn pechu, sydd â llosgfa yn ei galon, ac ni ddichon ddyrchafu ei wyneb at ei Farnwr.

Ac yn awr, fy mhlant, cerwch chwi Lefi, fel y galloch chwi barhau, ac nad ymddercheſwch eich hunain uwch ei law ef rhag eich dyfetha. Yr Arglwydd a roddodd i mi y deyrnas, ac i Lefi yr offeiriadaeth, ac a roddodd y deyrnas dan yr offeiriadaeth. I mi y rhoddodd ef y pethau ydynt ar y ddaear, ac iddo yntau y pethau sydd yn y nefoedd. Cyfuwch ag yw'r nefoedd uwchlaw y ddaear, felly y mae yr offeiriadaeth uwchlaw y deyrnas sydd ar y ddaear. Canys yr Arglwydd a'i dewisodd ef o'm blaen i, i nesâu ato ef, i fwyta o'i fwrdd, ac i gymmeryd blaenffrwyth meibion Israel, a thi a fyddi megys môr iddo ef; canys megys ag yn y môr y peryglir y cyfiawn a'r anghyfiawn, y naill fath a ddeil y cyfiawn a'r anghyfiawn, y naill fath a ddelir yn garcharorion, a'r fath arall a gyfoethogir; ac felly caiff pob math ar ddynion eu peryglu ynot ti, rhai yn soddi mewn trueni, a rhai ereill yn ymdrochi mewn hawddfyd. Canys ynot ti y rheola y morfilod, y rhai a lynca i fyny ddynion fel pysgod, ac a ddygant feibion a merched ei wyr rhyddion i gaethiwed; a hwy a gymmerant ymaith dai, tiroedd, anifeiliaid, ac arian, dynion trwy drais; a hwy a aberthant gigfranod ac adar gwancus ereill, a llawer o gnawdiau y praidd trwy drawsder; a hwy a lwyddant ac a flodeuant mewn drygioni, ac a ymddyrchafant mewn cybydd-dod; a bydd gau-brophwydi megys tymhestl, y rhai a erlidiant yr holl rai cyfiawn: ond yr Arglwydd a'u gesyd hwy ynghyd erbyn eu clustiau yn eu plith eu hunain, a bydd gwastadol ryfel yn Israel, a'm teyrnas a gauir i fyny gan ddyeithriaid, hyd oni ddel Achubwr Israel, sef Duw y cyfiawnder, fel y gorphwyso Jacob, a'r holl Genedloedd, mewn tangnefedd; ac efe a geidw fy nheyrnas mewn heddwch yn

dragywyddol. Canys yr Arglwydd a dyngodd, na byddai i'm teyrnas, na'm had, ddiflannu hyd ddiwedd y byd.

Ond y mae yn ddrwg iawn genyf, fy meibion, o herwydd yr aflendid, traeturiaeth, a'r eulun-addoliaeth a weithredwch chwi yn erbyn y deyrnas, trwy ddilyn swyn-gyfareddwyr, consurwyr, a thrwy addunedu eich merched i gythreuliaid twyllodrus, trwy eu gwneuthur hwy yn ddewinesau, swyn-wragedd, ac yn buteiniaid; a thrwy gymmysgu eich hunain â ffieidd-dra y Cenedloedd: am yr hyn beth, yr Arglwydd a ddwg arnoch newyn, haint, marwolaeth, cleddyf, digllon warchaedigaeth, cwn dinystriol, gwaradwydd cyfeillion a gelynion, poen a cholled o'ch llygaid, lladd eich plant, treisio eich gwragedd, anrheithio eich da, llosgi eich temlau, anghyfanneddu eich gwlad, a'ch caethiwo chwithau eich hunain yn mysg yr holl Genedloedd, y rhai a ddysbaddant rai o honoch i wneuthur eunuchiaid i'w gwragedd. Ond os dychwelwch chwi at yr Arglwydd mewn edifeirwch calon, a gostyngeiddrwydd, gan rodio yn holl orchymynion Duw, efe a ymwel â chwi yn drugarog, ac yn garedig a'ch gwared chwi oddiwrth gaethiwed eich gelynion.

Ac yn ol hyn y cyfyd Seren allan o Jacob, ac o'm had i y tardda allan Wr, yr hwn a rodia megys Haul cyfiawnder yn mysg meibion dynion, mewn tangnefedd, gostyngeiddrwydd. a chyfiawnder, ac ynddo ef ni cheir pechod. Y nefoedd a egyr i dywallt allan Ysbryd y fendith arno ef, oddiwrth y Tad; ac ysbryd y grâs a dywallt efe arnoch chwithau, a chwi a fyddwch blant iddo ef mewn gwirionedd, yn rhodio yn y cyntaf a'r diwweddaf o'i orchymynion. Dyma flaguryn y goruchaf Dduw, a ffynnon bywyd pob cnawd.

Yna, teyrnwialen fy nheyrnas a dywyna yn eglur, ac all o'ch gwreiddyn chwi y tardd allan lestr planu, yn mha un y tŷf i fyny wialen cyfiawnder i'r Cenedloedd, i farnu, ac i wared cynnifer ag a alwo arno ef.

Ac ar ol hyny, Abraham, Isaac, a Jacob a adgyfodant eilwaith i fywyd, a minnau a'r tywysogion, fy mrodyr, a fydd eich teyrnwialen yn Israel: Lefi yn gyntaf, minnau yn ail, Joseph yn drydydd, Benjamin yn bedwerydd, Simeon yn bummed, Isachar yn chwechfed, ac felly y lleill i gyd. A'r Arglwydd a'n bendithiodd, gan ddywedyd, Lefi, a fydd yn genad fy mhresennoldeb; Simeon, gallu fy ngogoniant; Reuben, nefoedd; Isachar, daear; Zabulon, y môr; Joseph, mynyddoedd; Benjamin, pebyll; Dan, goleuadau; Naphtali, danteithion; Gad, haul y dydd; Aser, olewydden, ac un bobl a fyddant i'r Arglwydd.

Belial dwyllodrus ni bydd mwyach, oblegid efe a fwrir i'r tân diddiwedd.

A'r rhai a gleddir mewn tristwch, a gyfodant mewn gogoniant.

A'r rhai oeddynt yn dlawd, er mwyn yr Arglwydd, a gyfoethogir.

Y rhai a ddyoddefasant brinder, a ddiwellir.

A'r rhai a fuont weiniaid, a gadarnheir.

A'r rhai a fuont feirw er mwyn yr Arglwydd, a ddeffroant i fyny i fywyd, ac a redant yn Jacob; ïe, gan lamu a neidio, hwy a redant, ac a ehedant megys eryrod o lawenydd.

Ond yr annuwiol a fydd drist, a'r pechaduriaid a alarant; a'r holl bobl a ogoneddant yr Arglwydd yn dragywydd.

Gan hyny, fy mhlant, cedwch holl gyfraith yr Arglwydd; oblegid y mae gobaith i'r holl rai a rodiant yn union.

Cant a phedair ar bymtheg o flynyddoedd ydyw fy oedran, ac wele fi yn marw yn eich gwydd chwi.

Na fydded i un o honoch fy nghladdu mewn dillad drudfawr, ac na agorwch fy mol, o herwydd felly y gwna rheolwyr; ond cludwch fi yn ol i Hebron gyda chwi.

Ar y geiriau hyn, Juda a fu farw; a'i blant, gan wneuthur yn ol pob peth a orchymynasai, a'i claddasant ef yn Hebron gyda'i dadau. (*I'w barhau.*)

---

## DYFYNIAD O'R "ACHOS MAWR CYNTAF, NEU ALLUOEDD HUNAN-SYMUDOL Y BYDYSSAWD," GAN ORSON PRATT, A.C.

1.—Y *rhaid* fod parhad diddiwedd ac eangder annherfynol, ydynt wirioneddau anghenrheidiol ag nad yw yn bosibl amgyffred eu bod yn wahanol i'r hyn ydynt. Y rhai hyn ydynt wirioneddau anghenrheidiol, pa un a oes un bôd yn bodoli i'w hamgyffred fel y cyfryw neu beidio. Yn wir, pe na fuasai un bôd mewn bodoliaeth, yr un anghenrheidrwydd anghyfnewidiol a fuasai yn nodweddu y gwirioneddau hyn. Nis gall un bôd greu na difodi eangder a pharhad annherfynol, ond y maent wedi bodoli a rhaid iddynt i fodoli yn dragywydd. Nid yw y gwirioneddau hyn yn caniatâu i'w profi, canys yr hyn sydd yn ddiddechreu nis gellir ei ragflaenu gan achos; a lle nad oes achos yn bodoli, nid yw yn bosibl y gall fod unrhyw sail i ymresymu. Nis gall fod un rheswm *paham* y mae eangder a pharhad fel ag y maent, ac etto yr ydym yn canfod anghenrheidrwydd iddynt fod fel ag y maent.

2.—Fod pethau yn bodoli yn yr eangder, sydd wirionedd, er nas gallwn amgyffred ei fod yn wirionedd anghenrheidiol; canys gallwn amgyffred am eangder gwâg; yn wir, yr ydym yn gwybod, o herwydd yr arddangosiadau o symudiad yn mhlith pethau, y rhaid fod eangder heb gael ei lanw â dim; pe amgen, ni fyddai lle i symudiad yn mysg cyrff, a chelai yr eangder ei lanw â chyfan gorff annherfynol, durfing, a hollol analluog o newidiad lle yn mhlith ei ranau. Gan hyny, y mae symudiad pethau yn profi fod rhan o'r eangder yn wâg. Os bydd i ni amgyffred fod rhan o'r eangder heb gael ei lanw gan sylwedd, gallwn yr un mor rhwydd amgyffred fod yr holl eangder yn wag; gan hyny nid yw bodoliaeth pethau yn yr eangder, er yn wirionedd, yn wirionedd anghenrheidiol. Gallwn amgyffred am eangder fel yn cynnwys dim neu gynnwys rhywbeth; gallwn ei amgyffred naill ai yn

cynnwys un peth, neu liosogrwydd o bethau; gallwn ei amgyffred fel yn wag, wedi ei lenwi yn rhanol, neu wedi ei lenwi yn hollol. Mae nifer afrifed o ddognau o sylwedd rhwng dim a chyfan-gorff annherfynol anfeidrol; a gallwn amgyffred y naill neu y llall o'r dognau hyn fel yn llanw rhan o'r eangder. Nis gallwn amgyffred unrhyw anghenrheidrwydd paham y bodolai un o'r dognau hyn yn hytrach nâ'r llall. Yr ydym yn canfod ein bod ni ein hunain yn bodoli, a bod pethau yn bodoli y tu allan i ni ein hunain; ond nid ydym yn canfod un anghenrheidrwydd am ein bodoliaeth ein hunain, nac am fodoliaeth unrhyw beth arall. Gan hyny, nid yw bodoliaeth pethau yn yr eangder, a dognedd pethau yn yr eangder, i gael eu hamgyffred i fod yr hyn ydynt trwy unrhyw anghenrheidrwydd anwrthwynebol, o'r fath ag sydd yn nodweddu ein hamgyffredion ni am eangder a pharhad. Ni ddichon neb amgyffred am anfodoliaeth eangder a pharhad, ond dichon pawb amgyffred am anfodoliaeth pethau mewn eangder, neu am fodoliaeth unrhyw ddognedd tybiedig, o ddim hyd anfeidrolwydd. Y blaenaf ydynt wirioneddau o anghenrheidrwydd, yr ail ydynt wirioneddau a ganfyddir eu bod yr hyn ydynt, heb ganfod un anghenrheidrwydd am eu bod fel ag y maent: y rhai hyn a ellir eu galw yn wirioneddau *damweiniol*.

3.—A chaniatâu y gwirionedd damweiniol, fod rhywbeth yn bodoli *yn awr* yn yr eangder, gan nas gall dim gynnyrchu rhywbeth; gan hyny, y mae yn canlyn, fel gwirionedd anghenrheidiol, y rhaid fod rhywbeth wedi bodoli *yn wastadol* yn yr eangder. Rhaid fod pob rhan o'r rhywbeth tragywyddol hwn yn llanw cyfran benodol o eangder, a chanddo hŷd, lled, trwch, a ffurf. I lanw cyfran o eangder, rhaid ei fod yn ddurfing, eithr nid yw durfingdra ond yn unig enw arall am ddefnydd; gan hyny, rhaid mai defnydd yw y rhywbeth tragywyddol hwn. Yr hyn nad yw yn meddu ar estyniad, na rhanau, na pherthynas ag eangder a pharhad, a elwir yn *annefnyddioldeb*, yr hyn yw y gwrthwyneb i bob bodoliaeth, neu ond yn unig enw arall ar ddim.*

4.—Wedi profi, oddiwrth y ffaith fod rhywbeth yn awr yn bodoli, y rhaid fod rhywbeth yn bodoli bob amser, gadawer i ni chwilio yn nesaf, A yw *pob* sylweddau wedi bodoli yn *dragywydd*? Dynolryw ydynt yn rhanedig ar y pwnc hwn. Un blaid a haera fod rhan o'r sylweddau mewn eangder wedi cael eu creu o ddim, gan y rhan arall, yr hon y maent hwy yn cael eu gorfodi yn anwrthwynebol i gredu sydd yn dragywyddol. Y blaid arall a greda fod pob sylweddau yn dragywyddol. Cawn yn awr fyned yn mlaen i ddangos nas gellir sylfaenu y grediniaeth i un rhan o sylwedd gael ei greu o ddim gan ran arall, ar unrhyw anghenrheidrwydd, ymbrawf, rheswm, cymhariaeth, na dadguddiad dwyfol.

Yn gyntaf: Nid yw creadigaeth rhan o ddefnydd yn wirionedd *anghenrheidiol*, o herwydd gallwn amgyffred am fodoliaeth dragy-

* Er hysbysiaeth pellach ar y pwnc hwn, gweler traethawd yr Awdwr ar "Absurdities of Immaterialism."

wyddol *pob* defnydd, mor rhwydd ag y gallwn amgyffred bodoliaeth dragywyddol *rhan* o ddefnydd. Holl hen ysgolion athronyddiaeth a dybient fod pob sylwedd yn dragywyddol; ac ni ddarfu i ddynion dybied yn wahanol hyd yr oesoedd diweddar. Fel y dywedwyd yn barod, gallwn amgyffred am eangder yn hollol wag o ddefnydd, yr hyn a ddengys nad yw bodoliaeth pob peth mewn eangder, er ei fod yn wirionedd, yn wirionedd anghenrheidiol. Os nad yw hyd y nod bodoliaeth pob sylweddau yn wirionedd *anghenrheidiol*, eithr yn unig yn wirionedd *damweiniol*, diau nas gellir tybied fod dechreuad bodoliaeth neu greadigaeth unrhyw sylwedd yn wirionedd anghenrheidiol.

Yn ail: Nid yw creadigaeth un rhan o sylwedd gan ran arall, yn wirionedd *profiadol*. Nid oes un dyn wedi canfod unrhyw sylwedd yn cael ei greu o ddim gan un arall. Yn holl amrywiedig weithrediadau natur, nid ydym yn canfod creadigaethau na diddymiadau: ni chanfyddwn ond yn unig gyfnewidiadau yn cael eu gwneuthur ar yr hyn sydd eisoes yn bodoli. Gan hyny, nis gall un dyn wybod trwy *brofiad*, fod creadigaeth rhywbeth o ddim yn wirionedd.

Yn drydydd: Nid yw creadigaeth o ddim yn wirionedd deilliedig oddiwrth reswm. Pob rhesymeg gasgliadol sydd yn seiliedig ar wirioneddau penodol cyntaf neu sylfaenol, y rhai a elwir gosodedigaethau neu egluriadau; ond nid oes neb o'r cyfryw wirioneddau cyntaf neu osodedigaethau mewn perthynas i greadigaeth o ddim; gan hyny, nis gall fod un sylfaen, neu gychwynnod, oddiwrth ba un y gallwn ddechreu ar erlyniad o resymeg gasgliadol, i sefydlu y cyfryw amgylchiad. Rhesymeg olrheiniol yw y gweithrediad hwnw trwy yr hwn yr ydym yn esgyn oddiwrth wirioneddau neillduol at rai o uwch gradd ac o natur fwy cyffredinol. Yn awr, nid oes dim yn ngwirioneddau neillduol natur ag sydd yn arddangos creadigaeth neb o'i sylweddau o ddim; felly, nis gellir sefydlu na chasglu y cyfryw amgylchiad trwy olrheiniad. Gan hyny, nid yw creadigaeth o ddim yn wirionedd deilliedig oddiwrth reswm.

Yn bedwerydd: Nid yw creadigaeth sylwedd o ddim yn wirionedd sylfaenedig ar *gymhariaeth*. Rhesymeg gymharol yw y gweithrediad hwnw trwy yr hwn yr ydym yn casglu y *dichon* un amgylchiad neu beth fod yn wir, o herwydd y gwyddom fod rhyw amgylchiad neu beth cyffelyb arall yn wir. Yn awr, nid ydym yn gwybod am un amgylchiad neu beth ei fod yn wir, ag sydd yn ymdebygoli, yn y mesur lleiaf, i greadigaeth sylwedd o ddim, gan hyny nid oes un gymhariaeth i'r cyfryw amgylchiad.

Yn bummed: Nid yw creadigaeth rhywbeth o ddim yn wirionedd sylfaenedig ar *ddadguddiad dwyfol*. Yr ydym yn dysgu oddiwrth y gwirioneddau dadguddiedig ag y mae Duw wedi gweled yn dda eu rhoddi i ddyn, i'r haul, y lleuad, y sêr, y nefoedd, y ddaear, a phob peth, gael eu creu ganddo ef; ond nid ydym yn dysgu mewn un lle yn yr oraclau santaidd hyny, i un o'r pethau hyny gael ei greu o ddim. Y geiriau gwreiddiol a gyfieithir i'n

hiaith ni yn greu a gwneuthur, ydynt yn dermau cyfystyr, yn arwyddo, fel y mae genym reswm i gredu, ffurfiad pethau allan o'r elfenau gwreiddiol; o leiaf, nid ydym mewn un lle yn y dadguddiad yn cael ein hysbysu fod i'r geiriau hyn unrhyw ystyr arall. Mae wedi cael ei ddywedyd, gan i Dduw greu *pob peth*, a chan fod elfenau yn *bethau*, gan hyny rhaid ei fod wedi eu creu hwynt hefyd. Ond os cynnwysir yr holl elfenau yn mhlith y pethau a grewyd, yna rhaid fod y Duwdod wedi creu yr elfenau, neu ranau o'r rhai y mae efe ei hun yn gynnwysedig, yr hyn a fyddai yn eithafion gwrthuni, canys byddai yn ei dybied ef yn bodoli ac heb fod yn bodoli ar yr un amser; felly, nis dichon y geiriau "pob peth" feddwl yr elfenau, eithr yn unig "pob peth" ag sydd wedi eu creu o'r elfenau. Gan hyny, nid yw creadigaeth rhywbeth o ddim yn wirionedd sylfaenedig ar ddadguddiad dwyfol. Os, gan hyny, nas gellir sefydlu creadigaeth un rhan o sylwedd o ddim trwy *anghenrheidrwydd*, *profiad*, *rheswm*, *cymhariaeth*, na *dadguddiad dwyfol*, nis dichon fod yn wirionedd; neu, o leiaf, nid oes genym un moddion wedi eu gadael trwy y rhai y gallwn benderfynu, neu hyd y nod gasglu, ei fod yn wirionedd, a dylai gael ei gyfrif fel golygiad gwyllt, neu ddychymmyg gwag, heb y cysgod lleiaf o sylfaen iddo.

5.—Gan nad oes un dystiolaeth pa bynag o blaid creadigaeth unrhyw sylwedd, yr ydym yn cael ein cyfiawnhau i gredu fod elfenau pob sylwedd yn bodoli yn dragywyddol. Gallwn olrhain hanesyddiaeth y ddaear yn ol dros tua chwech mil o flynyddoedd, neu hyd amser ei ffurfiad. Yn ystod yr amser hwn, y mae miliynau aneirif o gyd-gyfansoddiadau, yn llysieuol ac anifeilaidd, wedi bod yn cymmeryd lle yn barhaus; ond yn mhob achos ag sydd wedi dyfod dan sylw, y bodau cyd-gyfansoddedig a gawsant eu gwneyd o elfenau ag oedd yn bodoli yn flaenorol. Yn y deyrnas fwnawl, y mae nifer afrifed o gyrff cyfansawdd wedi cael eu ffurfio; ond yn mhob achos ag sydd wedi dyfod dan sylw dynion, mae y cyrff cyfansawdd hyny wedi cael eu gwneyd o rywbeth, ac nid o ddim. Yr holl wyrthiau oddiar y greadigaeth, a gawsant eu cyflawni trwy allu Duw, oeddynt weithrediadau ar ddefnyddiau a fodolent yn flaenorol. Nid yw Duw, oddiar hanesyddiaeth dyn, wedi creu unrhyw elfenau newyddion, a'u harddangos fel tystiolaeth fod y cyfryw beth yn bosibl. Pan ddarfu i'n Harglwydd wneuthur gwin yn y wledd briodas, nid oedd yn anghenrheidiol ei greu o ddim; efe a orchymynodd yn gyntaf i'r llestri gael eu llanw â dwfr, yna efe a greodd neu a wnaeth y gwin, yr hyn a ellai efe yn hawdd wneuthur trwy gyduno cyffyriau neu elfenau ereill ag oeddynt eisoes yn bodoli mewn amledd mawr. Pan borthodd efe y torfeydd â bara a physgod, nid oedd yn anghenrheidiol i wneuthur y cyfansoddion hyny o ddim, pan oedd pob elfen ag sydd yn gynnwysedig yn eu cyfansoddiad yn bodoli yn llawn yn mhob lle o'i amgylch.

[Gellir cael y traethawd uchod yn barod cyn ein rhifyn nesaf, am ddwy a dimai yr un, ac nid dwy geiniog, fel y cam-amcanasom yn ein holaf.—GOL.]

## HIRAETH AM SEION.

TON—" Sweet home."

O SEION, O Seion, mi ganaf yn llon,
Pan welai'th ogoniant dysclaerwych o'r bron,
A'th ddyfroedd grisialaidd yn rhedeg yn bur,
A'r llysiau heirdd-leision 'n arogli trwy'th dir.
Tref, tref, hoff, hoff dref,
Pa bryd y cai'th weled, O Seion, fy nhref?

Pêr leisiau yr adar hoff seiniant trwy'th nen,
Gan byncio â'u gilydd er canmawl ein Pen;
Dych'mygaf y clywaf eu sain melys-fryd,
A'r coedydd, a'r glaswellt, yn moli i gyd.
Tref, tref, hoff, hoff dref,
Mewn hiraeth wyf yma am Seion, hoff dref.

Draw'n mhell i'r gorllewin, 'rwy'n myned i fyw,
Mae yno wir gariad, ac undeb, gwir yw;
A'r hyfryd ddyffrynoedd fydd fel Eden ardd,
Yn llawn o bob cyfoeth,—eu golwg fydd hardd.
Tref, tref, hoff, hoff dref,
Pa bryd y caf fyned i Seion, hoff dref?

O, Seion ddedwyddol 'rwy'n garu yn wir,
Pa bryd y caf rodio ei ffrwythlawn hoff dir,
Efo'r prophwydi, a'r gwylwyr yn llu?
O, Seion hyfrydlawn, fy'm gwlad ydwyt ti.
Tref, tref, hoff, hoff dref,
Mor hyfryd trigfanu yn Seion, hoff dref.

Pa bryd y caf orphwys, heb ormes, na thrais,
Yn ngwlad yr addewid? O, dyna fy nghais;
A chyda'r prophwydi, a'r patrieirch fyw,
Yn ngwlad fy hoff dadau, fu'n ddewrion dros Dduw?
Tref, tref, hoff, hoff dref,
Pa bryd y cai'th weled, O Seion, fy nhref.

Pa hyd y caf aros, *O, d'wedwch* heb ble,
Yn ngwlad y caethiwed, yn mhell o'm hoff dre'?
'Rwy'n dysgwyl cael myned at Joseph a'i hâd,
Ac yno yn uchel, clodforaf fy Nhad!
Tref, tref, hoff, hoff dref,
O, gweddiwn am fyned i Seion, hoff dref.

*Tre-Sior.* THOMAS HARRIES.

## AMRYWIAETHAU, &c.

NITHIO.—Yn ddiweddar, ger Merthyr, yr oedd rhyw Fedyddiwr erlidgar yn difrio ychydig o Saint, ynghylch eu crefydd; ac o'r diwedd, gan gydio yn ei gwdyn bwyd, a'i droi oddiamgylch ei ben, dywedai, "Mi'ch nithia chwi." Ar hyny, yr henaf o'r Saint a sylwodd, "Wele, Satan a'ch ceisiodd chwi, i'ch nithio fel gwenith; eithr mi a weddiais drosoch, na ddiffygiai eich ffydd chwi."

MEDDWDOD.—Meddwdod sydd bechod ag y mae hyd y nod y paganiaid sobr yn cywilyddio o'i herwydd. Y Spartiaid a ddysgent eu plant i'w ffieiddio, trwy ddangos iddynt feddwyn, ar yr hwn y syllent fel pe buasai yn anghenfil. Hyd y nod Epicurus ei hunan, yr hwn a gredai fod dedwyddwch yn gynnwysedig mewn pleser, oedd etto yn ddyn cymmedrol, fel y tystia Cicero o'i blaid.

NID yw meddwl yn dda fymryn gwell nâ breuddwydio yn dda,—gweithredu yn dda sydd yn perffeithio yr ymddygiad; canys fel mai rhinwedd yw gogoniant gweithred, felly gweithredu yw bywyd rhinwedd.

DYWEDIR fod pleser mewn gwallgofrwydd, yr hwn sydd yn anadnabyddus i bawb ond gwallgofiaid; yn sicr y mae trueni mewn segurdod, yr hwn nis dichon neb ond y diog ei ddirnad.

NI fydd i ddyn mawr fathru abwydyn, na llechu rhag brenin.

---

☞ Mae cyfieithad yr "Achos Mawr Cyntaf," gan O. Pratt, wedi chwyddo i werth dwy a dimai, a bydd yn barod yn mhen oddeutu wythnos.

☞ Ymddengys "Breuddwyd," gan y Llywydd Phillips, yn ein rhifyn nesaf.

☞ Dymunwn ar y Cynnadleddau a'r Cangenau i wneyd eu goreu ynghylch ein talu, gan fod yn anmhosibl i ni gario ein gwaith yn mlaen heb dâl. Mae mwy nâ hanner arian y chwarter diweddaf heb eu talu etto, a bydd chwarter arall yn ddyledus yr UDGORN nesaf. Yn wir, oddiar y chwarter diweddaf, mae ein taliadau ni i ereill braidd wedi dyblu taliadau ereill i ni, a hyny heb gyfrif yr elw a raid dalu etto i'r Eglwys. Mae hyn yn blino ein hysbryd yn nghanol llafur caled i ddiwallu y wlad â geiriau y bywyd tragywyddol.

TALIADAU O MAWRTH 7. HYD MAWRTH 20.—Sir Gaernarfon, £1 13s; Pontytypridd, 14s 6c; Llantrisaint, 11½c; Aberdare, £2 3s; Georgetown, £1; Merthyr, £1 12s.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*"

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 7.] EBRILL 5, 1851. [PRIS 1g.

## "PWY SYDD FWYAF?"

O BOB gofyniad a glywsom sôn am dano erioed, y gofyniad uchod yw y mwyaf peryglus i'w ofyn, a'r mwyaf siomlyd yn yr atebiad o hono, yn neillduol yn nheyrnas nefoedd. Balchder ac hunanoldeb yn y galon sydd yn esgor ar y gofyniad hwn, fynychaf. Ond odid, nad balchder oedd yr achos i Lucifer ofyn rhywbeth o'r fath yn y nefoedd, pan y syrthiodd oddiyno i eithafoedd trueni. Mae gofyniadau fel hyn wedi dystrywio cannoedd. Ni wnaeth Iesu Grist ond achub ei apostolion gynt, pan y "cyfododd dadl yn eu plith, pwy a fyddai fwyaf o honynt." Cawsant yr ateb canlynol gan eu Harglwydd.—"Pwy bynag a dderbynio y bachgenyn hwn yn fy enw i, sydd yn fy nerbyn i; a phwy bynag a'm derbynio i, sydd yn derbyn yr hwn a'm hanfonodd i: canys yr hwn sydd leiaf yn eich plith chwi oll, hwnw a fydd mawr" (Luc ix, 48). Dyna yr ateb goreu a ellir ei roddi i'r cyfryw a ddygwydd ofyn y cwestiwn uchod; a'r ffordd oreu i wneuthur, yw gwneyd fel yr apostolion, sef ymddarostwng i fod yn lleiaf, ac nid dilyn Lucifer, yr hwn a wrthryfelodd.

Tad y gofyniad uchod yw y diafol ei hun; efe ddarfu ei ofyn gyntaf, ac efe a gafodd ddyoddef gyntaf oddiwrtho. Yr oedd gormod o falchder ac hunanoldeb ynddo i gymmeryd yr ateb a roddwyd i'r apostolion; a dyna fu yr achos o'i gwymp. Oddiar hyny hyd yn bresennol, gwaith y diafol yw annog pawb i ofyn, "Pwy sydd fwyaf?" Llwyddodd yn y nefoedd i dynu y drydedd

rau o'r angylion ar ei ol, ac i'w gefnogi yn ei wrthryfel; a diau ei fod wedi tynu miloedd ar ei ol ar hyd y ddaear, nid yn unig mewn oesoedd boreuol, ac yn amser Iesu Grist, eithr yn y dyddiau diweddaf hyn. Beth a gymmerodd le ar ol merthyrdod y prophwyd Joseph Smith? Atebwn, peth mor debyg ag oedd yn bosibl i'r hyn a ddygwyddodd yn mhlith apostolion Crist yn y dyddiau gynt, pan yr awgrymwyd fod yr Arglwydd i gael ei "draddodi i ddwylaw dynion." Ië, meddwn, cyfododd dadl ar y pryd hwnw tua dinas Nauvoo, yn mhlith apostolion y dyddiau diweddaf, Pwy a fyddai fwyaf yn nheyrnas Dduw, ar ol ymadawiad Joseph Smith? A rhai o honynt, gan ddiystyru dysgeidiaeth yr Iesu, a chwyddasant mewn balchder ac hunanoldeb, gan dybied mai hwynt-hwy oeddynt i fod yn fwyaf; eithr o blith y rhai lleiaf y dewisodd Duw flaenoriaid ei eglwys, i'r rhai y cyflwynodd efe agoriadau y deyrnas, yn lle Joseph. Diwedd y rhai oedd am fod yn fwyaf, oedd esgymundod o'r eglwys, ac ymrestriad yn myddin y gelyn!

Mae yn ddyledswydd ar bawb, ynte, yn Eglwys Iesu Grist, i fod ar eu gwyliadwriaeth ynghylch "Pwy sydd fwyaf?" Dylid gochelyd cefnogi pob dyn sydd am fod yn fawr. Peidier gwrandaw arno yn tystiolaethu ei fod yn credu athrawiaeth y Saint, canys y mae hyd y nod y cythreuliaid yn credu, ac yn crynu hefyd. Nid oes un gwir blentyn i Dduw yn gwrthryfela, am mai nid efe a ddyrchefir i ryw swydd; yr hunanol a'r balch sydd yn gweithredu felly. Mor fuan ag y dealla yr hwn sydd am fod yn fawr, nad efe fydd y llywydd dyfodol ar ryw gangen, cynnadledd, neu genedl, dechreua ddigio wrth y llywydd newydd a'r hen, ac wrth bawb ereill nad ymdrechasant ei ddewis ef. Yna yn fuan dechreua wrthwynebu yn ddirgelaidd, gan gasâu y brodyr sydd yn llywyddu arno; ond etto, twylla y Saint ei fod yn ddyn da, trwy dystiolaethu o blaid yr athrawiaeth. "Yr hwn a ddywed ei fod yn y goleuni, ac a gasâo ei frawd, yn y tywyllwch y mae hyd y pryd hwn" (1 Ioan ii, 9). Mae yr hwn sydd yn dwyn dysgeidiaeth Crist, yn caru yr holl frodyr, ac yn parchu holl drefniadau yr eglwys, gan foddloni bob amser i ddewisiad Duw, ac nid dew-

isiad ei hunan. Mae y rhai sydd yn dewis eu hunain yn myned i dywyllwch, ac i ddinystr, a llwyddant weithiau i dynu ereill gyda hwy. Er hyny, fel eu tad diafol, parhant o hyd i ddweyd mai Crist yw Mab y Duw byw, ac mai gwirionedd yw athrawiaeth y Saint. Mae Sidney Rigdon, ac ereill a esgymunwyd o Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, yn dal o hyd i ddweyd hyny; y peth mwyaf a anghredant yw, mai nid Brigham Young a'i gynghorwyr yw pen yr eglwys. Mae y rhai ag sydd wedi bod unwaith yn y goleuni, yn gwybod mwy am athrawiaeth y Saint, na'r rhai sydd wedi bod mewn tywyllwch erioed; ac er fod y rhai blaenaf wedi eu taflu i dywyllwch mwy, fel nas gwelant ddim yn mhellach, etto medrant gofio yr hyn a welsant gynt yn y goleuni, —a dyna yw yr hyn a ŵyr y deillion hyny.

Yn awr, ymgeisied yr holl Saint i adnabod y rhai sydd am fod yn fwyaf, a chilio oddiwrthynt; os na fydd cariad a gostyngeiddrwydd Crist ynddynt, na dderbyniwch hwynt i dŷ, ac na ddywedwch Duw yn rhwydd wrthynt, onide byddwch yn gyfranog o'u gweithredoedd drwg. Nid yw wahaniaeth pa faint o ddaioni a wnaeth rhywun yn flaenorol, os try yn ddrwg, bydd ei ddrwg yn waeth ac yn fwy niweidiol. Gan hyny, gweddai fod pawb yn gwylio, na dderbyniont ddyn a fyddo yn anmharchu neu wrthwynebu llywodraeth bresennol Duw, canys nid ydyw yn caru y brodyr nac yn caru Duw. Y ffordd oreu i bawb ddyfod yn fawr, yw bod yn ddigon bach—peidio byth â meddwl ynghylch "Pwy sydd FWYAF."

## HAU GWENITH.

[Allan o'r "Deseret News," am Tach. 22, 1850.]

MAE amser hau gwenith hydrefol yn myned heibio yn gyflym, am y tymmor hwn, ac y mae yn ddyledswydd arbenig ar bawb i hau gymmaint o had ag sydd yn ddichonadwy. Meddyliwch fod deng mil ar hugain yn nyffrynoedd y mynyddoedd, yr hyn sydd yn gyfrifiad digon rhesymol, a bod eisieu deg bwshel o wenith yn flynyddol ar bob un (yr hyn, fe allai, sydd ychydig yn fwy nag a fyddai eisieu, os dygwyddai fod cyflawnder o lafuriau ereill, llys-

iau, cig, a groceries; etto, mae y cyfrifiad yn dda gyferbyn ag ychydig wastraff, trwy ddystryw gan anifeiliaid ac achosion ereill); yna byddai eisieu tri chan mil o fwsheli o wenith, er diwallu y bobl sydd yn awr yn y mynyddoedd dros y flwyddyn ddyfodol. Ychwanegwch at hyn ddybliad y boblogaeth erbyn y cynauaf nesaf, a bydd raid casglu chwech can mil o fwsheli, neu adael i'r bobl fod mewn anghen; yna ychwanegwch at hyn ychydig filoedd o fwsheli i borthi yr Indiaid, oblegid y mae yn rhatach i borthi yr Indiaid nag i ymladd â hwynt, os mai hyny fydd ddoethaf; ac ychydig filoedd o fwsheli yn rhagor i'r mynyddwyr; a llawer o filoedd yn ychwaneg o fwsheli, i ddiwallu galwadau y teithiwr; a chanfyddwn yn rhwydd y bydd miliwn o fwsheli o wenith yn anghenrheidiol erbyn y cynauaf nesaf, er diwallu anghenrheidiau ein pobl, hyd y cynauaf canlynol, heb wneyd un ddarpariaeth gyferbyn â methiant y cnydau yn yr amser dyfodol. Boed i bob dyn yn Deseret godi dau can bwshel o wenith, a chymmaint o lafuriau ereill ag a fo posibl, erbyn y cynauaf nesaf, ac fe arosa y prisiau yn dda, a bydd y farchnad yn agored i ychwaneg; ac i'r dyben i gelfyddydwyr gael parhau wrth eu gorchwylion, dylai pob dyn sy'n ymwneyd â llafurio, godi o leiaf dri chan bwshel o wenith, a llafuriau ereill mewn cyfartalrwydd; gan hyny, hauwch y gwenith! HAUWCH Y GWENITH!! Nac ofnwch nas gellwch ei fedi: daw rhywrai i'ch cynnorthwyo, fel y gwnaethant y cynauaf diweddaf. Nac ofnwch nas gellwch ei ddyrnu; y mae un peiriant dyrnu mewn gweithrediad ac yn gwneyd gwaith da, a bydd ychwaneg mewn gweithrediad y flwyddyn nesaf, y rhai a arbedant lawer o waith caled i ddyrnu, ac a roddant fwy o amser i'r ffermwr i hau; a rhaid cael miloedd o fwsheli o ŷd i ddiwallu y ceffylau a'r mulod a fyddant yn gweithio'r peiriant dyrnu; am hyny, hauwch y gwenith, ac na arbedwch. Cawn yn fuan etto weled y bobl yn heidio i Deseret wrth y miloedd a'r degau o filoedd, yn myned trwy y kanyons heb damaid o fara, fel y darfu i lawer wneyd y flwyddyn hon, a rhaid i ffermwyr Deseret eu porthi hwynt; am hyny, hauwch y gwenith.

Beth sydd eisieu i adeiladu teyrnas Dduw yn y mynyddoedd? GWENITH! Bydd sydd yn eisieu i alluogi yr henuriaid i fyned allan i bregethu yr Efengyl i'r cenedloedd? GWENITH!! Beth sydd yn eisieu er i holl Israel ddyfod adref ar unwaith? GWENITH!!! Beth sydd yn eisieu nad allwn gael deg mil o wyr i

adeiladu Teml i'r Goruchaf Dduw, lle y gellir gweinyddu ordinhadau bywyd ac iachawdwriaeth i'r Saint, pan y cyrhaeddant yma? GWENITH. Pa beth a ellir ei wneyd gan y Saint yn y mynyddoedd, wedi iddynt gael digonedd o wenith? pob peth sydd eisieu ei wneyd. Bara a dwfr, yn sicr, yw yr hyn y mae Duw wedi addaw i'w bobl trwy eu ffyddlondeb. Mae digonedd yn awr o ddwfr, a bydd digonedd o wenith pan fyddo y brodyr wedi defnyddio pob moddion er ei godi mewn cyflawnder; yna, ni fydd ganddynt ddim i wneuthur ond gweithio, a thrwy eu gwaith gallant gynnyrchu pregethau, temlau, a gwleddoedd, a phob peth a geisio Duw ganddynt. Frodyr, a wnewch chwi osod sylfaen y gwaith mawr ag y mae Duw wedi ymddiried i'ch gofal, trwy osod y gwenith yn y ddaear? A wnewch chwi laesu yn eich hymdrechiadau, tra y byddo bwshel i'w hau?

---

## TESTAMENT Y DEUDDEG PATRIARCH, SEF MEIBION JACOB.

[*Parhad o dud.* 95.]

---

### TESTAMENT ISACHAR,

*A wnaeth efe i'w Blant ar ei farwolaeth, ynghylch Symlrwydd calon.*

Isachar a alwai'n groyw,
Ynghyd i gyd ei blant wrth farw;
Fe dd'weda am gadw calon sengel,
Bywyd pur, ac oesau isel.

COPIAD o eiriau Isachar; efe, gan alw ei blant o'i amgylch, a ddywedodd wrthynt,

Chwi blant Isachar, gwrandewch ar eich tad, a rhoddwch glust i anwylyd yr Arglwydd: myfi ydwyf y pummed mab i Jacob, yn ngwobr y mandragorau. Oblegid Reuben a ddygodd fandragorau allan o'r maes, a Rahel yn ei gyfarfod ef, a'i cymmerth hwy oddi wrtho; yna Reuben a lefodd, ac wrth ei waedd, fy mam Lea a ddaeth allan (y mandragorau oeddynt fath ar afalau per aroglus, y rhai ydoedd tir Aram yn ei ddwyn allan yn y gwledydd uchel, wrth ddyfroedd y dyffrynoedd), a Rahel a ddywedodd, Ni roddaf yr afalau hyn i ti, canys hwy a'm cynnorthwyant i blanta; a dau ydoedd o'r afalau.

Yna, Lea a ddywedodd, Ai nid yw ddigon i ti gymmeryd ymaith wr fy morwyndod, ond a fyni di y rhai hyn hefyd?

A hithau a atebodd, Gorwedded Jacob gyda thi y nos hon am fandragorau dy fab.

A Lea a ddywedodd wrthi hi, Nac ymffrostia, ac nac ym-

falchïa, oblegid eiddo fi ydyw Jacob, ac myfi ydyw gwraig ei ieuenctyd ef.

Yna Rahel a atebodd, Pa fodd felly? oni rwymwyd ef yn gyntaf â myfi? ac oni wasanaethodd ef ein tad ni bedair blynedd ar ddeg am danaf fi? beth a wnaf i ti? canys aml ydyw dichellion a chyfrwysdra dynion, yr hwn sydd yn myned rhagddo ar y ddaear; pe buasai y peth ffordd arall, ni chawsit ti weled wyneb Jacob y dydd hwn; canys nid ei wraig ef ydwyt ti, ond tydi a roddwyd yn dwyllodrus ato ef yn fy lle i, canys fy nhad a'm twyllodd, gan fy nhroi heibio y noson hono, nis gadawodd i mi ei weled ef, oblegid pe buaswn yno, ni ddaethai hyn i ben: gan hyny, cymmer di un o'r mandragorau, ac yn lle y llall yr ydwyf yn ei ganiatâu i ti dros un noswaith.

A Jacob a adnabu Lea, yr hon gan feichiogi, a esgorodd arnaf fi, a alwodd fy enw Isachar, o herwydd y cyflog.

Yna, angel yr Arglwydd a ymddangosodd i Jacob, ac a ddywedodd, nas dygai Rahel ond dau o feibion, oblegid iddi adael cymdeithas ei gwr, a dewis ymattal; a phe buasai fy mam, Lea, heb roddi y ddau afal am ei gymdeithas ef, hi a fuasai yn dwyn wyth o blant, ond oblegid hyny, nis ymddug hi ond chwech, a Rahel ddau, am i Dduw ymweled â hi yn y mandragorau: canys efe a wyddai ei bod hi yn chwennych cymdeithasu â Jacob, er mwyn cael epil, ac nid er mwyn trachwant a phleser; oblegid hi a gadwodd y mandragorau, ac a'u rhoddes i Jacob y dydd cyntaf, gan hyny, Duw a wrandawodd Rahel yn y mandragorau, oblegid er iddi eu chwennych hwynt, etto ni fwytaodd mo honynt, eithr hi a'u hoffrymodd hwynt i offeiriad y Goruchaf, yr hwn ydoedd yn y dyddiau hyny, ac a'u gosododd hwynt i fyny yn nhŷ yr Arglwydd.

Yna, fy mhlant, pan ddaethum i gyflwr gwr, mi a rodias â chalon union, ac a ddaethum yn olygwr ar hwsmoniaeth fy nhadau, ac a ddygais iddynt ffrwythau eu tiroedd mewn amser cyfaddas; a'm tad a'm bendithiodd pan welodd efe y modd y rhodiais yn union ac yn syml; nid oeddwn ysmala yn fy ngweithredoedd, nac yn ysgeler i ddrygu fy nghymmydogion, ni cheblais undyn, ac ni ogenais fywyd neb ar a rodiai mewn symlrwydd meddwl.

A phan oeddwn yn ddeg ar hugain y cymmerais wraig, o herwydd i lafur dreulio fy nerth, nid adnabum ddifyrwch merch trwy drythyllwch, ond fy llafur a wnai i mi gysgu yn drwm; a'm tad ydoedd yn wastadol yn ymlawenychu yn fy symlrwydd; oblegid pa boen bynag a gymmerwn, yn gyntaf o'r cwbl, mi a offrymwn y blaen ffrwyth o'r cyntaf-anedig o'r anifeiliaid i'r Arglwydd trwy yr offeiriad, ac a roddwn i'm tad y gweddill, a'r Arglwydd a ddyblodd ei roddion yn fy nwylaw; ïe, Jacob ei hunan a wybu fod Duw yn cyd weithio gyda mi am fy union ymddygiad; canys i bob dyn tlawd, ac i bob dyn mewn cystudd, y rhoddais ffrwyth y ddaear, a chalon sengl.

Ac yn awr, fy mhlant, gwrandewch arnaf, a rhodiwch â chalon

ac â meddwl syml, oblegid mi a wn fod yr Arglwydd yn cwbl ymfoddloni ynddo, canys y gwr a'r galon syml nid ydyw yn chwennych aur, nac yn didrodi ei gymmydog, nid yw yn chwennychu amryw fwydydd, nac ychwaith yn chwennych ymwychu mewn dillad, nac yn ymddyrchafu ei hun yn hir o amser, ond yn unig sydd ganddo lygad at ewyllys Duw; ni ddichon ysbryd cyfeiliornad wneuthur dim yn ei erbyn ef, o herwydd nis gwyr ef pa fodd i roesawi merch lân, rhag iddo halogi ei feddwl ei hun, a digofaint ni feistrola ei synwyr ef, a chenfigen ni thawdd mo'i enaid ef; ac ychwaith nid yw ei feddwl ef yn rhedeg yn gybyddlyd ar elw, oblegid y mae ef yn arwain bywyd union, ac yn edrych ar bob peth â golwg syml, gan gau allan bob niweidiol a bydol gyfeiliornad, rhag iddo edrych dros un o orchymynion Duw.

Gan hyny, fy mhlant, cedwch gyfraith Duw, a deliwch yn dŷn at uniondeb, a rhodiwch rhagoch mewn diniweidrwydd, ac na fyddwch rhy ymofyngar yn nirgelion yr Arglwydd, neu weithredoedd eich cymmydogion, tosturiwch wrth y tlawd a'r gwan, cerwch Dduw a'ch cymmydogion, plygwch i lawr eich cefnau at Hwsmoniaeth, byddwch ddiwyd i lafurio y ddaear, a phob math ar Hwsmoniaeth, gan offrymu i'r Arglwydd anrhegion, gyda diolchgarwch; yr hwn a fendithiodd y ddaear â chynnydd, ac â newydd darddiad ffrwythau, megys ag y bendithiodd efe yr holl wŷr duwiol, er Abel hyd y dydd hwn; canys nid oes cyfran arall gwedi ei roddi i chwi, ond o frasder y ddaear, ffrwythau pa un sydd yn dyfod trwy gymmeryd poen; canys fy nhad Jacob a'm bendithiodd â daioni y ddaear, ac â blaenffrwyth y cnydiau.

Lefi a Juda a ogonedda yr Arglwydd yn mysg plant Jacob; o herwydd Duw a blanodd ei hun ynddynt hwy, gan roddi i'r naill yr offeiriadaeth, ac i'r llall y deyrnas; gan hyny, ufyddhewch iddynt hwy, a rhodiwch yn union megys ag y darfu i'n tad Jacob; i Gad hefyd y rhoddwyd dinystrio profedigaethau Israel.

Fy mhlant, mi a wn y bydd i'ch plant chwi yn y dyddiau diweddaf wrthod uniondeb, a glynu wrth gybydd-dod.

A gollwng ymaith ddiniweidrwydd, a dilyn drygioni.

Gadael gorchymynion Duw, a glynu wrth Belial.

Rhoddi ymaith Hwsmoniaeth, a gwibio ar ol dichellion anwireddus.

Am hyny hwy a wasgerir ymaith yn mysg y cenedloedd, ac a ddeuant i fod yn gaeth-weision i'w gelynion.

O herwydd hyn, rhybyddiwch eich plant o'u plegid, fel os pechant, y gallont ddychwelyd at yr Arglwydd, o herwydd mae efe yn drugarog, ac a'u gwared hwynt, gan eu dwyn hwy drachefn i'w tir eu hunain.

Wele yr ydwyf yn awr, yn ddwy flwydd a chwech ugain oed, nis gwn i bechod marwol lywodraethu arnaf.

Ac nid adnabum ferch ond fy ngwraig fy hun, ac ni wnaethum buteindra yn ol chwant fy llygaid.

Nid yfais win i feddwi, ac ni chwennychais ddim o bethau dymunol fy nghymmydogion.

Ni bu dim twyll yn fy nghalon, ac ni ddaeth celwydd allan o'm gwefusau.

Bum gystuddiol gyda y cystuddiedig, a rhoddais o'm bara i'r tlawd.

Ni fwyteais fy mwyd yn unig, ac ni symudais derfynau na chyffiniau tiroedd.

Mi a fum yn dosturiol holl ddyddiau fy mywyd, ac a ddeliais yn union yn mhob achosion.

Mi a gerais yr Arglwydd a'm holl nerth, a phob dyn megys fy mhlant fy hunan.

Fy mhlant, os gwnewch chwithau yn yr un modd, holl ysbrydion Belial a ffoant oddi wrthych ymaith; ac ni chaiff dim a allo dynion drwg wneuthur i'ch erbyn i orfoleddu arnoch: a chwi a ddygwch yr holl fwystfilod gwylltion i fod yn ddarostyngedig i chwi, o herwydd fod genych Arglwydd y nefoedd gyda chwi, os rhodiwch chwi mewn symlrwydd calon.

Yna yr ewyllysiodd iddynt fyned â'i gorff ef i Hebron, a'i gladdu ef yno gyda'i dadau yn yr ogof; ac felly efe a estynodd ei draed allan, ac a fu farw mewn oedran teg, a chanddo ei holl aelodau yn gryfion ac yn ddilys, efe a hunodd hûn yr holl fyd.

(*I'w barhau.*)

---

## BREUDDWYD.

Mr. Golygydd,—Ewyllysiaf osod a ganlyn o flaen y cyhoedd, trwy gyfrwng eich soniarus Udgorn.

Ar y 17eg o'r mis hwn, oddeutu 3 o'r gloch yn y prydnawn, pan yn eistedd yn fy nhŷ, wedi siarad llawer trwy y dydd, daeth ysbryd cwsg arnaf, yn yr hwn canfyddais fy hun yn cael fy nghipio gan yr Ysbryd i ystafell ddirgel; ac wedi myned i mewn, gwelais chwech o weinidogion perthynol i'r Bedyddwyr, a chefais arddeall eu bod yn cynnal yno gynghor, a thrwy ganiatâd yr Ysbryd mi a arosais yno i wrandaw hyd eu hymadawiad; a phan ddeffroais, yr oeddwn yn cofio y materion fu dan eu sylw; yna, mi a'u hysgrifenais yn ddioed, pa rai ydynt fel y canlyn:—

Yn gyntaf, gofynai un, "Beth yw eich barn chwi am 'Saint y Dyddiau Diweddaf?' Y mae eu tystiolaethau, ac yn neillduol eu llyfrau, wedi ac yn achosi rhyw anesmwythder i'm meddwl, o herwydd, ar ol i mi wneyd ymchwiliad manwl i'r Beibl santaidd, ac i athrawiaeth y Saint, yr wyf yn eu cael yn hollol gyduno yn mhob pwnc o athrawiaeth. Felly, O frodyr anwyl, pa

beth a wnawn? y mae ar ben ar ein crefydd! golwg wael oedd arni o'r blaen, ond yn wir, ei golwg yn awr sydd lawer gwaelach; ac y mae y mwyrif o'n haelodau a'u llygaid gwedi eu hagor: gofynant yn fynych yn y gyfeillach (*society*) fel y canlyn: 'A oes dim apostolion a phrophwydi i fod yn yr eglwys yn awr?' 'Nac oes,' yw ein hateb iddynt. 'A oes gwybodaeth i'w chael yn awr?' 'Nac oes dim,' meddwn ninnau. 'A oes dim o'r ysbrydol ddoniau hyny i'w mwynhau yn awr, sef, llefaru â thafodau, cyfieithu, prophwydo, gwyrthiau, dawn iachau, a chanu â'r ysbryd, &c.?' Dywedwn ninnau 'eu bod oll wedi darfod,' pan ar yr un pryd yn cofio fod Paul wedi myned i'w lw, gan ddweyd, "A'r rhai hyn yn wir a osododd Duw yn yr eglwys." Ac yr ydym ninnau, frodyr, yn proffesu fod i'r nef a'r ddaear fyned heibio, cyn y palla un iot o air y Duw mawr; ac yn ngwyneb pethau fel hyn, pa fodd y gallwn ddangos ein gwynebau i'n cyd-ddynion? ïe, a pheth sydd anfeidrol fwy ei bwys na hyny, yw, pa fodd y gallwn sefyll o flaen y frawdle, i roddi cyfrif am ein geiriau a'n gweithredoedd!! O! frodyr, ystyriwn y pethau yma yn ddwys, rhag ein cael yn rhyfela yn erbyn Duw!!"

Yna, darfu i bawb ag oedd yn y cynghor golli dagrau wrth feddwl am ddydd y farn fawr! Cododd un arall, a dywedodd, "O frodyr! y mae cydwybod euog genyf finnau, o herwydd fy mod gwedi pregethu cymmaint, pan mewn gwirionedd, yr wyf yn gwybod na ddanfonwyd fi gan Dduw erioed; a'r geiriau sydd yn peri y blinder mwyaf i mi a welir yn Heb. v, 4. 'Ac nid yw neb yn cymmeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, ond yr hwn a alwyd gan Dduw, megys Aaron.' Ac y mae y rhan yna o'r gair dwyfol wedi achosi i mi benderfynu na phregethaf ychwaneg, hyd oni chaf eglurhad boddhaol ar y pwnc."

Wedi hyny, cododd gwr enwog arall ar ei draed, a dywedodd, "Y gofid mwyaf sydd arnaf fi yw, fy mod wedi prophwydo yn ddyfal trwy y wlad, er ys wyth mlynedd yn ol, yr elai Saintyddiaeth i ebergofiant cyn pen naw mis; ac yn awr, y mae llawer naw mis wedi myned heibio, ac y mae pawb yn gweled fy holl brophwydoliaethau yn gau!! Ac, O frodyr, pa fodd y gwnaf ddangos fy wyneb?"

Dywedodd un arall fel y canlyn:—"Y mae un peth yn achosi poen i'm meddwl innau; hyny yw, y geiriau a ysgrifenodd Paul, 1 Thes. i, 5. 'Oblegid ni bu ein hefengyl ni tuag atoch mewn

gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr.' Yr ydym ni yn dweyd mai yr un efengyl sydd genym ag oedd gan Paul; ond yn wir, frodyr, y mae yma gymmaint o wahaniaeth ag sydd rhwng efengyl y taenellwyr ag eiddo Paul. Ac os na ellir penderfynu rhywbeth, yr wyf yn penderfynu ymuno â'r Saint."

Un arall a gododd ar ei draed, ac a ddywedodd, "Y mae yn rhaid cyfaddef, fod rhyw flinder yn fy meddwl, pan yn darllen yr ysgrythyrau hyny a welir yn Actau ii, 38, 39. 'A Phedr a ddywedodd wrthynt, Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau; a chwi a dderbynlwch ddawn yr Ysbryd Glân. Canys i chwi y mae yr addewid, ac i'ch plant, ac i bawb yn mhell, cynnifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato.' Ac yr ydym ni wedi tori ugeiniau allan, am gredu yr ysgrythyrau uchod! ac yn wir, frodyr bach, y mae yn achos ofni fod gormod o wirionedd yn nhystiolaeth y Saint, sef, ein bod yn 'credu y Beibl pan fyddo yn nghau,' ond pan yn ei agor, ein bod 'yn ei wadu.' Cofiwn mae yr 'hwn a ballo mewn un pwnc a fydd yn euog o'r cwbl.'"

Hysbysodd un arall fel y canlyn:—"Yr ydym wedi bod yn areithio yn y flwyddyn ddiweddaf, mewn perthynas i'r Iuddewon; ac yr ydym wedi casglu cannoedd o bunnau yn mhlith y tlodion, i'r dyben o ddanfon cenadon at yr Iuddewon; ac yn awr, gwelwn ein ffolineb: nid oes addewid i'r Iuddewon gredu, nes y byddo i'r Arglwydd sefyll ar ei draed ar fynydd yr Olewydd, megys y prophwydodd Zachariah, xiv, 4, 8. 'A'i draed a safant y dydd hwnw ar fynydd yr Olewydd, yr hwn sydd ar gyfer Jerusalem o du y dwyrain; a mynydd yr Olewydd a hyllt ar draws ei hanner tua'r dwyrain a thua'r gorllewin, a bydd dyffryn mawr iawn: a hanner y mynydd a symud tua'r gogledd, a'i hanner tua y deau. A bydd y dwthwn hwnw, y daw allan o Jerusalem ddyfroedd bywiol; eu hanner hwynt tua môr y dwyrain, a hanner tua'r môr eithaf: haf a gauaf bydd hyn.' Zach. xii, 10—14. 'A thywalltaf ar dŷ Dafydd, ac ar breswylwyr Jerusalem, ysbryd gras a gweddiau; a hwy a edrychant arnaf fi yr hwn a wanasant, galarant hefyd am dano fel un yn galaru am ei unig-anedig, ac ymofidiant am dano ef dano megys un yn gofidio am ei unig-anedig, &c.' Etto, pennod xiii, 1. 'Y dydd hwnw y bydd ffynnon wedi ei hagoryd i dŷ Dafydd, ac i bres-

wylwyr Jerusalem, i bechod ac aflendid.' Gwelwn, frodyr, fod yn rhaid eu bedyddio er maddeuant pechodau; a gwelwn hefyd, y fath dywyllwch ydym wedi treulio ein hamser ynddo, ac hefyd ein bod yn rhwym o gyfaddef fod gan y Saint oleuni: hwy sydd wedi ein goleuo ni yn y pethau hyn, ac oni bai fy mod i wedi eu herlid gymmaint, buaswn wedi ymuno â hwy. Yn awr, deuwch at y pwnc: pan un ai myned at y Saint a wnawn fel dynion, neu ynte, ymdrechu cael cyflawniad o'r addewidion ein hunain? Os na atebwch, af fi allan, a chymmeraf fy medyddio ganddynt yn awr."

Cododd y cyntaf drachefn, gan ddweyd, "Arafwch ychydig, gadewch i ni fod yn bwyllog; yr wyf yn barnu, os awn fel gweinidogion at yr Arglwydd, y gwna efe roddi i ni y fraint o gael derbyn o ddawn yr Ysbryd Glân." "Beth gwell i ni weddio yn awr," meddai y llall, "gan fod yr ysgrythyr yn tystio fod yn yr eglwys Offeiriaid, ac Henuriaid; yr ydym ni yn gwadu y cyfryw, o ganlyniad nid oes genym ni awdurdod." "Peidiwch a myned i nwydau drwg," meddai un arall, "dyben y cynghor hwn yw, gosod ein hunain ar y ffordd i fod yn gredinwyr o hyn allan. Beth pe baem yn ymuno â'r Saint, a gawsem ni fod yn weinidogion?" "Na chaem," meddai y llall, "rhaid i ni fod yn aelodau yn gyntaf, ac aros felly, nes ein galw trwy ddadguddiad, megys Aaron." "A fyddwn yn gwybod gwed'yn ein bod o anfoniad y Duw mawr!" "Byddwn," meddai y llall. "Wel! wel! pe cawn i wybodaeth fel yna, mi a bregethwn nes peri i'r ddaear grynu! gwnawn mewn gwirionedd, canys fe fyddai yn nefoedd ar y ddaear wed'yn, mewn cymhariaeth i'r sefylla ag ydym ynddi yn bresennol."

"Ond cyn terfysgu ein heglwysi," meddai un o honynt, "oni fyddai yn well i ni ymdrechu am yr awdurdod hon i ni ein hunain?" "Byddai yn ddiammau," meddai y llall. Cytunasant i fyned i weddio am weinidogaeth angel, ynghyd â dawn yr Ysbryd Glân. Penderfynwyd fod un i weddio, a'r pump arall i ddweyd, "Amen." Yna, aeth pawb ar ei luniau, a gweddiwyd fel y canlyn:—"O, Arglwydd Dduw Hollalluog, wele yr ydym ni, greaduriaid gwael, ac anwybodus, gwaith dy ddwylaw, yn agosâu ger dy fron; fe debygem heno, O Arglwydd, ein bod yn wir gredinwyr (yr hyn na fuom ni erioed o'r blaen); gwadasom dy air santaidd, a thystiolaethasom fod yr holl fendithion addawedig

wedi darfod; pan mae dy air di yn 'ïe, ac yn Amen.' O Arglwydd, maddeu i ni, a rho dro yn ein cynghor yma heno, neu ynte danfon un o'r angylion i'n cyfarfod, er ein hordeinio ni yn offeiriaid ac yn henuriaid. Gan dy fod wedi danfon angel at Joseph Smith, O danfon un atom ninnau, Arglwydd da, a maddeu i ni am ein bod wedi erlid 'Saint y Dyddiau Diweddaf,' yn enw y Gwr fu yn hoeliedig ar y groes. Gwnawn ymuno â hwy, os na weli di yn dda i roddi i ni o ddawn yr Ysbryd Glân; ac y mae ein holl aelodau o'r un feddwl â ninnau, oddieithr ambell i hen walch sydd wedi gwreiddio yn nhraddodiadau y tadau. Gan fod genym gapeli hardd, ac eglwysi lliosog, ni a ddymunem gael eu cadw hyd ein bedd. Ac i'r dybenion daionus hyn, O Arglwydd, gwna gadw y cynghor hwn yn ddystaw, rhag pawb; oblegid yr ydym wedi cael cynauaf toreithiog, ond y mae ar ddarfod os na weli di yn dda i wrandaw arnom, a rhoddi o'r doniau dwyfol, y rhai a addawodd dy anwyl Fab i'r credinwyr. Maddeu ein holl bechodau, O Arglwydd, a derbyn ein gwasanaeth yn gymmeradwy yn enw ein Harglwydd Iesu Grist. Amen ac Amen."

Methasant dderbyn dim yn y cyfarfod uchod, a phenderfynwyd fod mis arall i'w dreulio at y gorchwyl! Tystiaf yn enw a thrwy awdurdod Iesu Grist, na ellir cael yr Offeiriadaeth yn un man ond yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf. Bydded i'r Duw grasol fendithio pob onest ei galon yn y dywysogaeth hon.

*Merthyr.* WM. PHILLIPS.

---

## Y DAITH O'R BLUFFS I'R DYFFRYN.

MEWN atebiad i'r cyfryw a'n holant ni mewn perthynas i'r daith o'r Council Bluffs i'r Dyffryn, dyfynwn a ganlyn o'r "Frontier Guardian" am Chwef. 7, 1851 :—

"Rhoddwn yma rai cyfarwyddiadau cyffredinol. Gwna dwy iau o ychain da lusgo tunell, ar wagen dda, oddiyma i Ddinas y Llyn Halen. Byddai yn well, er hyny, i gael un iau o wartheg i osod rhwng y ddwy iau o ychain, wrth yr un wagen. Rhydd y rhai hyn laeth i'r plant ar y ffordd, ac y maent yn rhwyddach i'w gyru yn y gweddau nac allan, a gwnant gynnorthwyo llawer iawn hefyd. Yn awr, at bob tunell o lwyth, y mae eisieu ieuau a wagen felly. Gallwch gymmeryd i fyny i'r wagon hon ryw ddau, tri, pedwar, neu chwech o blant, neu bersonau mewn oed,

oblegid fe allant hwy gerdded y rhiwiau a lleoedd ddiffaith. Bydd yn angheuheidiol i deuluoedd mawrion gael pabell i gysgu ynddi. Yn gyffredin gall pedwar gysgu mewn wagen ymfudol o faintioli da, neu ragor os na fyddant wedi tyfu i fyny. Ni ddylai teuluoedd gychwyn oddiyma heb ddarpariaeth dros dri mis. Dyweder, can pwys o flawd, neu ryw ddefnydd bara iachus a da, i bob un, hen neu ieuanc. Cymmaint o facwn neu gig moch ag a farnoch yn ddigon. Siwgr, coffi, rice, sych-ffrwythau, cig eidion sych,—ychydig o dê, a phob rhyw anghenrheidiau ereill yn ol dymuniadau a galluoedd yr ymdeithwyr. Ni ddylai un teulu groesi y gwastad-diroedd heb wartheg i gael llaeth; o herwydd y mae llaeth ac ymenyn yn dra defnyddiol ac anghenrheidiol ar y daith. Ar ol cymmeryd can pwys o flawd i bob un, dylech gymmeryd ychydig o ŷd-flawd at wneyd bara a *mush*. Byddai ychydig o gyffeiriau teuluol yn burion i'w cymmeryd gyda chwi. Cymmerwch gymmaint o ddillad ag a alloch gael. Gweddeuau ychain yw y goreu a'r diogelaf; ac wedi cyrhaedd pen y daith, gellwch eu tewhau a'u lladd i'w bwyta. Mae yn dda, er hyny, i fyned â cheffylau neu fulod, er gyru ar ol yr anifeiliaid, a'u casglu. Mae gweddeuau ceffylau neu fulod yn dda iawn, a dewisir hwynt gan rai. Rhaid i bawb ddewis yn hyn yn ol eu doethineb eu hunain."

---

## CWYNFANAU Y SANT.

Fy awen fach, adfywia, dyrchafa fry dy lef,
Dadguddia fy nghwynfanau i'm Tad sydd yn y nef;
'Rwy'n mhell o dref, mewn anial, yn mhlith gelynion lu;
Pwy fedr gydymdeimlo â'm hamgylchiadau i?
O Babilon, O Babilon, dy ormes sydd yn fawr,
Ond terfyn dy deyrnasiad sy'n agosâu yn awr.

Mewn byd o brofedigaeth ormesol 'rwyf yn byw,
Mor anhawdd i mi gadw dy gyfraith di, O Dduw;
Y cyfaill gynt f'ai imi, sy'n elyn lawer pryd,
Mor galed yw ymdeithio drwy ganol hyn o fyd.
O Babilon, &c.

Pan byddo'm bryd a'm hegni i wneyd yr hyn sy' dda,
Cylyma'r drwg mewn digter i'm herbyn; beth a wna'?

Mae hwn yn elyn imi, O Dad, clyw di fy llef,
Rho nerth im' wneyd dy 'wyllys, drwy ei orchfygu ef.
O Babilon, &c.

Mae'r byd lle 'rwy'n preswylio dan gaeth ormesol bwn,
Nid oes ond anghyfiawnder yn llywodraethu hwn;
'Rwyf innau yn ei ganol, rhyw fodd yn ceisio byw,
Dan artaith chwys a dagrau, ac O mor galed yw.
O Babilon, &c.

Mae'r byd yn troi i'm herbyn, 'rwyn myn'd yn llibyn llwyd,
Mae'm côd yn wag, ac hefyd fy nghell yn fach o fwyd;
Ac addurniadau t'lodi 'nawr ar fy ngwisgoedd sy',
Dyeithriant fy nghyfeillach, a methu'm 'nabod i.
O Babilon, &c.

Y cyn brophwydi santaidd, gwroniaid o'ent trwy ffydd
Yn erbyn anghyfiawnder,—er iddynt golli'r dydd;
Ond yn yr oes bresennol y cyfiawn fyn ei rau,
A chleddir anghyfiawnder o'r golwg yn y fan.
O Babilon, &c.

*Clynmil.* JOHN WILKINS.

---

## IECHYD.

MR. GOLYGYDD,—Gan fod eich cyhoeddiad yn fychan, bydd i mi ysgrifenu yn fyr; a dymunaf arnoch i gyhoeddi yr hanes neillduol a ganlyn.

Ychydig amser yn ol, galwyd arnaf fi a'r brawd Pugh i weinyddu yr ordinhad o eneinnio ag olew, fel ag y mae yr apostol Iago yn son am dani, ar chwaer o'r enw Rebecca Flowers. Ei chlefyd oedd y *paralytic stroke*; yr oedd y naill ochr iddi yn hollol ddirym. Ni theimlais ddim erioed yn fwy marw, nag ydoedd ei choes. Nyni a'i heneiniasom hi ag olew yn enw yr Arglwydd; a chyn i ni ddyfod o'r fan, yr oedd yn medru cerdded ar hyd y tŷ. Pwy bynag sydd am ychwaneg o wybodaeth, galwed yn fy nhy i, 36, Heol Tredegar, Caerdyf.

JAMES ELLIS.

O.Y.—"Yr ydym ni yn tystio fod y dystiolaeth uchod yn wir.

"JOHN FLOWERS,
"REBECCA FLOWERS.

"Heol Charlotte, Caerdyf."

## GALWAD ADREF.

[TON—" Difyrwch Gwyr Harlech."]

ADREF, adref, Saint yr Arglwydd,
Galwad sydd i ddod yn ebrwydd,
Rhag i'r dystryw mawr a'r aflwydd
Ein gorddiwes ni.
Adref, seintiau ffyddlon,
Ffown o blith gelynion;
Babel sydd, o ddydd i ddydd,
O'i chwymp yn rhoi arwyddion.
Draw mae Seion yn cyfnerthu;
Seintiau filoedd gyrchant iddi,
Fel c'lomenod i'w ffenestri,
Rhag y dryc-hin du.

Seion, Seion, yw ein noddfa,
Beth in' well o aros yma?
Awn i'r man lle mae gorphwysdra—
Ië, hedd yn 'stor.
Seion yw preswylfa
Seintiau y Jehofa;
Yno mae 'r ffyddlon rai,
O hyd yn hyfryd wledda.
O, dihunwn o'n cysgadrwydd,
A rhown glust i eiriau'r Arglwydd;
Babel sydd i syrthio'n ebrwydd,
Megys maen i'r môr!

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

GWYRTHIAU.—Un o'r Methodistiaid a ddifenwai un o'r Saint, o herwydd eu crediniaeth mewn "gwyrthiau." "Beth," meddai y Sant, "oni fu y Methodistiaid yn cyflawni 'gwyrthiau' yn yr hen amser?" "Taw, fachgen," meddai yntau, "y Methodistiaid yn cyflawni 'gwyrthiau'! naddo erioed." "Ydych chwi yn siwr, syr?" meddai'r Sant. "Ydwyf, ydwyf, yn ddigon siwr." "Wel, wel!" meddai y Sant bach, yn bwyllog, "ai nid *Methodistiaid* ydoedd Crist a'r apostolion?" Aeth mab Calfin yn fud!—T. H.

BUSTS (LLUNIAU) JOSEPH AC HYRUM.—Mae y Llywydd W. Phillips wedi derbyn yn ddiweddar gyflawnder o'r lluniau uchod, oddiwrth y brawd J. Taylor, a gwerthir hwynt ganddo fel y canlyn:—Y defnydd goreu, am 9s. y par; y defnydd cyffredin, am 5s. y par Nyni ddarfu brynu y par cyntaf, a dywedwn nad oes dim yn addurno ty yn well. Trwy glybio y mae oreu i'r tlodion eu cael: maent werth eu prynu, yn wir. Wrth fynu Joseph ac Hyrum i'n tai, byddwn hefyd yn hwylusu llawer ar waith yr Arglwydd yn mhlith y Ffrancod. Deuwch, a phrynwch.

APWYNTIAD.—Mae y Llywyddiaeth yma wedi apwyntio yr Henuriad Thomas Pugh, am yr amser presennol, i lywyddu ar Gynnadledd Orllewinol Morganwg, heb gynghorwyr, a'r brawd Evan Williams i fod yn henuriad teithiol, o dan ei lywyddiaeth.

---

DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU, CANGENAU AC EREILL, AM Y CHWARTER YN DIWEDDU EBRILL 5, 1851.

CYNNADLEDDAU.—Sir Fynwy, £17 3s 0½c; Sir Frycheiniog, £3 8s 7c; Sir Aberteifi, £2 17s 8c; Sir Gaerfyrddin, £14 16s 10½c; Morganwg Orllewinol, £33 6s 1½c; Sir Fflint, £6 9s 8½c; Sir Gaernarfon, £13 2s 5½c; Sir Feirionydd, £7 6s 5c; Sir Ddinbych, £7 15s 5c; Sir Benfro, £3 2s 2c.—*Cangenau*—Dinas, £1 1s 9s; Llantrisaint, £3 5s 3½c; Pontytypridd, £6 12s 10c; Llanfabon, £1 5s 4c; Cwmbach, £1 12s 7c; Pendulwyn, 10s 4c; Twynyrodyn, 15s; Llandaff, £1 7s 9c; Gog, 14s 1c; Caerdyf, £7 10s 10c; Aberdare, £7 16s 3c; Dowlais, £4 3s 2½c; Hirwaun, £6 8s 6½c; Rymni, £2 13s 10c; Cwmnedd, £1 16s 3c; Georgetown, £7 8s 7c; Merthyr, £1 8s 8c; Pendaren, £3 4s 4c; Pontfaen, 7s 3c; Cefn, £1 11s 1c; Ynysgou, 2s 5c.—*Personau*—David Davies, gynt o Glynmil, 3s 4c; Jonathan Thomas, Trecastell, £1 4s 8½c; David John, 9s 6c; Joseph Rogers, 3s 6c; Rees Thomas, 4s 6c; Robert Roberts, 5s; James Jones, 6s; Dd. Edwards, 6s 5.—Cyfanswm, £173 17s 7c.

☞ Cofier fod gerllaw hanner y cyfanswm flaenorol yn hen ddyled, ac nid yn perthyn i'r chwarter hwn. Os bydd y gwahanol lywyddion yn meddu digon o ewyllys a phenderfyniad, gallant glirio y cyfan yn ddioed—ymddibyna y cyfan arnynt hwy. Lle byddo llywydd ymdrechgar a phenderfynol, nid yw ei Saint byth yn ol mewn talu—mae hyny yn ran o'u crefydd.

TALIADAU O MAWRTH 21. HYD EBRILL 1.— Sir Aberteifi, 7s; Sir Ddinbych, 10s; Llantrisaint, 1s; Pontytypridd, 16s 6c; Llanfabon, 16s 10c; Cwmbach, £1; Georgetown, 10s; Merthyr, £2; Pendaren, 14s; Ynysgou, 1s 8c.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*"

---

JOHN DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 8.] EBRILL 19, 1851. [PRIS 1*g*.

## YR EGLWYS YN UN-AR-HUGAIN OED.

BYDDED i Saint y Duw Hollalluog ganu caniadau Seion ar y ddaear, a dyrchafu eu calonau hyd entrych y nefoedd i uno mewn mawl â'u brodyr fry, lle y mae hefyd angylion filoedd yn barod i seinio anthem soniarus. Llawenyched y tlodion a'r rhai trallodedig; anghofient eu hadfyd am dymmor. Y rhai gorthrymedig yn Mabilon, na chofiwch pa le yr ydych yn trigo; mae dydd o orfoledd wedi dod i loni eich calonau. Y rhai erlidiedig, nac ofnwch eich gelynion; mae yn amser i chwithau lawenhau. Gelwir pawb i fod yn llawen, ac i ymhyfrydu ynghyd; canys tywynodd gwenau Duw ar ei Ferch SEION. Clywch pa beth a seinia yr UDGORN ar hyd a lled y wlad. "*Mae yr Eglwys yn un-ar-hugain oed*!" Gwawriodd yr hir-ddysgwyledig ddydd—y chwechfed dydd o'r pedwerydd mis a elwir Ebrill, 1851, sef blwyddyn arddangosfa y byd. Caned pob perchen tafod ddiolchgarwch i'r Goruchaf, canys y mae merch Seion wedi dyfod i'w hoedran. Cadwodd yr Arglwydd ei phen i'r làn trwy bob erlidigaeth a gyfarfyddodd, a dygodd hi yn ddiogel i fynydd uchel, lle y mae heddyw yn landeg yr olwg, ac yn un-ar-hugain oed; mae yn ymdrwsio ac yn parotoi ei hun erbyn y delo y Priodfab. Oddi yno danfona genadon cyflym i eithafoedd y ddaear, i gasglu gwahoddedigion erbyn priodas a swper neithior yr Oen. Diolched meibion a merched dynion fod yr Eglwys yn un-ar-hugain oed;

canys y mae Duw yn awr yn fwy eiddigeddus am ei gogoniant nag erioed. O hyn allan, ei Thad, gan ei harddel, a'i harddela hi yn ngwydd cenedloedd lawer; a chan ei hamgylchynu â'i fraich, a'i ceidw rhag pob niwed; ac ar ei phen y dyhidla efe fendithion y nefoedd. Caned Saint y Dyddiau Diweddaf, a gorfoleddent, nes dihuno trigolion y ddaear, fel y deallont mai merch Seion, neu eu Heglwys hwy, yw yr hon sydd yn un ar-hugain oed. Darfu i ni gyfansoddi, ar foreu hyfrydlon y dydd crybwylledig, cyn troi o'n gorweddle, y gân newydd hon, ag sydd yn fwy o ffrwyth gorfoledd nag o fedrusrwydd:—

Gwrandewch, chwi Seintiau Gwalia,
Mae genyf newydd wiw;
Daeth amser gorfoleddu,
A rhoddi mawl i Dduw.
Os mynwch wybod beth sy'n bod,
Par'towch i seinio hyfryd glod,
O herwydd mae yr Eglwys
Yn un-ar-hugain oed!
Yn un-ar-hugain oed!
Yn un-ar-hugain oed!

Hyd yma bu dan oedran,
Er pan y daeth o'r nef;
Ond heddyw mae'n crechwenu,
Ac yn derchafu 'i llef.
Os mynwch wybod beth sy'n bod,
Par'towch i seinio hyfryd glod,
O herwydd mae yr Eglwys
Yn un-ar-hugain oed, &c.

Yr Eglwys 'nawr sy'n hawlio
Bendithion mwy gan Dduw;
Mae'n gwybod mwy am brofiad,
A mwy deallus yw.
Os mynwch wybod beth sy'n bod,
Par'towch i seinio hyfryd glod,
O herwydd mae yr Eglwys
Yn un-ar-hugain oed, &c.

Yn awr meddylia'r Eglwys
Yn fynych am ei 'stad ;
Gan ddysgwyl cael cyflawniad
O eiriau gwir ei Thad.
Os mynwch wybod beth sy'n bod,
Par'towch i seinio hyfryd glod,
O herwydd mae yr Eglwys
Yn un-ar-hugain oed, &c.

Mae'r Eglwys 'nawr yn ddiwyd
Yn tynu serch Mab Duw;
Ar fyr daw'r dydd priodas,
A'r neithior freiniol wiw.
Os mynwch wybod beth sy'n bod,
Par'towch i seinio hyfryd glod,
O herwydd mae yr Eglwys
Yn un-ar-hugain oed, &c.

Am hyny, frodyr anwyl,
Dyrchefwch ben i'r làn ;
Mae siarad am eich Heglwys
Yn treiddio trwy bob man.
Os mynwch wybod beth sy'n bod,
Parhewch i seinio hyfryd glod,
O herwydd mae yr Eglwys
Yn un-ar-hugain oed, &c.

---

## MORMONIAETH.

Mae y *Family Herald*, am Mawrth 13, 1851, yn cynnwys traethawd ar "Fesmeryddiaeth, Mormoniaeth, a Mynachyddiaeth;" yn mha un y darlunir yr hyn sydd yn hynodi pob un o'r tair. A chan ein bod ni wedi cael ein boddloni yn y sylwadau a wneir mewn perthynas i Formoniaeth, yr ydym yn dyfynu o'r traethawd yr hyn a ganlyn, er mwyn i'n darllenwyr gael clywed barn y byd am danom :—

"Gadewch i ni yn awr [wedi darlunio rhyfeddodau Mesmeryddiaeth] i gael sylldrem fer ar rywogaeth dra gwahanol o Therapeutists, y rhai sydd yn cynnyrchu effeithiau o natur gyffelyb ac hyd y nod mwy rhyfedd; o herwydd y mae yr afiechyd yn waeth,

a'r gwelliadau yn gyflymach—weithiau yn uniongyrchol. Er hyny, cofier, ein bod ni yn cymmeryd ein hawdurdod allan o lyfrau argraffedig; ni feddwn un wybodaeth bersonol am y Mormoniaid; eithr yr ydym yn ystyried ein hunain dan rwymau dyledswydd, fel addysgwr cyhoeddus, i chwilio mewn i bob pwnc poblogaidd, neu bob symudiad newydd yn honi pethau o'r fath. Yr ym ni wedi bod yn hir yn gyfarwydd â chymmeriad a phroffes y corff Mormonaidd. Mae y Mormoniaid hyn yn cynnyddu yn rhyfeddol. Maent yn cyfansoddi cenedl fychan. Ffurfiant un o'r Unol Daleithiau—Talaeth Utah, neu Deseret; a'u prophwyd, Brigham Young, canlynydd Joseph Smith, yw y llywodraethwr cyfreithlawn a gydnabyddwyd gan y Congress. Dysgwyliant yn fuan i fod yn ddwy Dalaeth. Y maent yn cynnyddu yn gyflym trwy argyhoeddiad ac ymfudiad, a chanddynt ddinas a phentrefi o eiddo eu hunain, ac y maent yn awr yn sylfaenu prif-athrofa, ac yn apwyntio athrawon, un o ba rai sydd yn bresennol ar ei ffordd o Loegr. Ychydig flynyddoedd yn ol yr oeddynt yn cael eu diystyru trwy yr holl Daleithiau; yn awr, pan fyddo apostol yn ymweled â'r brif-ddinas, cyfarchir a chanmolir ef ar bob llaw gan ddeddfwyr Americanaidd. Ac un o honynt yn ddiweddar, ar ei ffordd i Italy i sefydlu eglwys, wrth fyned trwy Washington, a gafodd ei logellau wedi eu llanw â llythyron o gymmeradwyaeth i'r Italiaid oddiwrth ddeddfwyr y Werin-lywodraeth Fawr. Yn Lloegr y maent yn rhifo dros ddeg mil ar hugain. Yn Llundain, lle nad ydynt wedi bod ond tair blynedd, y maent eisoes wedi bedyddio tair mil o gredinwyr; ac y maent yn ymbarotoi i wneuthur ymosodiad ar ffydd neu grediniaeth yr holl genedloedd yn ngwyliau dynesawl yr Arddangosiad Mawr.

"Dynion eofn yw y Mormoniaid hyn. Yn awr gadewch i ni glywed pa beth y maent yn wneuthur. Ni fydd y Mesmeryddion yn ei hoffi, fe wyddom, ac efallai y gwatwarant, ond etto 'y mae yn argraffedig, ac yr ydym yn ei ddarllen mewn llyfr;' a'r gofyniad yw, a ydym i gredu y llyfr Mesmeryddol ac anghredu yr un Mormonaidd? Haelioni a'n gwahardda.

"Mae y gwelliadau Mormonaidd, hyd yn hyn, yn rhagori ar bob peth sydd wedi ei ysgrifenu am Fesmeryddiaeth; ac y mae y cyhoeddiad o ba un y dyfynwn, yn ein hysbysu nad yw y gyfres argraffedig ond cyfartalrwydd bychan o'r rhifedi aneirif. Yr ydym yn dyfynu geiriau yr ysgrifenydd ei hunan, sef Orson

Pratt, Llywydd y Deuddeg Apostol, yn awr ar ei daith tua Dinas y Llyn Halen, fel Blaenor apwyntiedig y Brif-athrofa Formonaidd;—'Y mae yn awr oddeutu chwech cant o gangenau o Eglwys Crist yn yr ynys Brydeinig, yn cynnwys dros ddeg mil ar hugain o gredinwyr, a rhwng tair a phedair mil o Henuriaid ac Offeiriaid. Yn awr, nid oes braidd gangen o'r Saint (sef Saint y Dyddiau Diweddaf) yn mhlith y genedl hon, a'r nad yw wedi ei bendithio, i raddau mwy neu lai, ag arwyddion gwyrthiol a rhoddion yr Ysbryd Glân, trwy ba rai y maent wedi eu cadarnhau, ac yn gwybod mewn sicrwydd mae hon yw Eglwys Crist. Gwyddant fod y dall yn gweled, y cloff yn cerdded, y byddar yn clywed, y mudan yn llefaru, y gwahanglwyfus yn cael ei lanhau, esgyrn yn cael eu cyssylltu, y cholera yn cael ei geryddu, a'r clefydau mwyaf angherddol yn ymadael, trwy ffydd yn enw Iesu Grist, a gallu ei efengyl Ef. Nid rhyw bethau neillduedig ag a gymmerant le yn achlysurol yw y rhai hyn, neu sydd yn ammheus yn eu natur, neu wedi dygwydd ryw amser maith yn ol, neu mewn gwlad bellenig; eithr cymmerant le yn y gyfnod bresennol, a phob wythnos a ddwg ugeiniau o enghreifftiau yn mhob rhan o'r wlad hon. Mae llawer o gleifion, y tu allan i'r Eglwys, trwy osodiad dwylaw gweision Duw, wedi eu hiachâu. Nid rhywbeth yw a wneir yn y cornel, ond yn gyhoeddus, ac y mae degau o filoedd yn llygad-dystion.'

"Mae dallineb hollol yn cael ei wella—a hyny yn ddisymwth; mae byddarwch a mudaniaeth o lawer blwyddyn o barhad yn cael eu gwella yn uniongyrchol; mae esgyrn cefn toredig yn rhuthro i'w lle gyda swn gwasgiad pasged, tra y byddo y seremoni o eneinnio a gweddio yn cael ei gweinyddu; mae asgwrn morddwyd allan o le, yr hwn yn hir oedd wedi baeddu pob ysgîl feddygol, yn neidio yn ddisymmwth i'w le, pan orchymynir iddo i wneuthur felly gan Henuriad o'r Eglwys, tra yn eneinnio y claf ag olew yn enw yr Arglwydd; mae archollion yn cael eu hiachâu i fyny, a'r rhwymau yn cael eu taflu ymaith, heb eu heisieu drachefn; mae clefyd yn cael ei geryddu, a chilia gyda'r gair sydd yn ei orchymyn i ymadael. Hyn oll a wneir nid gan Fesmeryddiaeth, ac etto y mae yn cael ei wneyd trwy osodiad dwylaw. Ond y mae rhywbeth yn ychwanegol; y mae yno seremoni ac eneinniad crefyddol a santaidd. Edrycha y Mesmeryddwr ar briodoleddau defnydd, a rhyw allu dirgelaidd yn Natur, am

iachâd; edrycha y Mormoniad yn uniongyrchol i fyny at Dduw. Mae rhywbeth yn fwy goruchel, defosiynol, a dyrchafedig, ond llai athronyddol, yn y drefn Formonaidd. Athronydd yw y Mesmeryddwr; nid yw yn crybwyll enw Duw; ac enw yr Iesu, buasai arno gywilydd, efallai, i'w draethu. Mae efe yn ddyn celfyddydol, ac y mae yn astudio cyfreithiau natur; cloddia yn ddwfn i'r ddaear am yr aur. Edrycha y Mormoniad am dano ar y wyneb —*sub Jove sereno* (o dan yr wybren lâs).

"Ond a yw y gwelliadau hyn wedi eu cyflawni yn wirioneddol Nis gallwn ni ddweyd; y maent yn argraffedig mewn llyfr.

"Ond, os yw y fath welliadau yn wirioneddol, rhaid mai Mormoniaeth yw y grefydd iawn? Aros ychydig, ymresymydd! Mae dy gasgliad yn anghyfreithlawn. Dywed hyd y nod y Llyfr Mormonaidd wrthyt, nad yw 'gwyrthiau, a'u cymmeryd wrthynt eu hunain, yn un prawf pa bynag o ddwyfol anfoniad neb, ond yn unig pan eu cymmerir mewn cyssylltiad ag athrawiaeth bur, santaidd, ac anffaeledig,'—yr hon athrawiaeth nid oes raid iddi wrth dystiolaeth. Mae yr ysgrythyrau yn dweyd fod cythreuliaid yn gwneuthur gwyrthiau, a bod *tri gwahanol math* o gythreuliaid i gael eu danfon allan yn y *dyddiau diweddaf* i'w cyflawni. Gellwch weled y geiriau yn Dad. xvi, 14. Gan hyny na fyddwch ar ormod o frys i ddyfod yn Sant, eithr ymresymwch dipyn yn rhagor. Heblaw hyny, nid yw yr athrawiaeth yn santaidd nac yn anffaeledig, ac o ganlyniad nis gall fod gwyrthiau yn dystiolaeth ddiammheuol o'i geirwiredd. Fel hyn, er enghraifft, y mae Mr. Orson Pratt yn dywedyd, 'Mae natur y genadwri yn Llyfr Mormon y fath, fel, *os yn wir*, na all neb gael ei achub, a'i *gwrthod*; ac, *os yn gau*, na all neb gael ei achub, a'i *derbyn*.' Oddiwrth hyn gallem benderfynu, fod Mormoniad yn sefyll mor lleied siawns o gael ei achub â neb yn y byd.

"Eithr y mae rheswm arall paham y dylech beidio myned yn Formoniad, a hwnw yw, fod y mynachod yn cyflawni yr un fath weithredoedd. Maent hwythau hefyd yn gwneuthur gwyrthiau. Gwna hyn i chwi betruso, ac efallai i ymddyrysu; o leiaf, gwna i chwi arafu."

Dyna fel yr ysgrifena Golygydd y "Family Herald" am Formoniaeth. Pe buasem ni gerllaw iddo pan yn ysgrifenu, dywedem yn ei glust mai safon y Saint i brofi dwyfoldeb eu crefydd yw *dadguddiad*, trwy yr Ysbryd Glân, yr hwn a addewir i bawb.

## PAHAM NA CHAWSAI YR ENWADAU CREFYDDOL WRANDAWIAD O'U GWEDDIAU?

Mr. Gol.,— Mae yn hysbys fod yr holl enwadau crefyddol yn gweddio; ond nid oes ganddynt sicrwydd o wrandawiad, fel ag y sydd gan y Saint. Gan hyny, atebaf y gofyniad fel y canlyn:—

1. Y mae y rhan fwyaf o honynt yn camsynied y Bod iawn i weddio arno, megys ar fôd heb glustiau i glywed, na dwylaw i gyfranu, na theimladau i dosturio wrthynt; efelly anhawdd derbyn. Ereill a weddiant ar Iesu Grist, yn lle ei Dad. Ereill ar eu cyd-ddynion, ac ambell un ar Luciffer, mab y wawrddydd. Clywais gyfarch y bodau hyn fy hun; ond ni dderbyniasant.

2. Ereill a weddiant, ond heb weddio yn yr enw iawn. Y rhai hyn ydynt frodyr y Phariseaid gynt, yn tybied eu bod hwy yn haeddu cael ffafr gan Dduw, o herwydd eu gweithredoedd daionus eu hunain. O ba herwydd nis derbyniant.

3. Llawer a weddiant hefyd, ond heb fod trwy gyfarwyddyd yr Ysbryd Glân, eithr eu hysbrydoedd eu hunain, a rhywrai ereill cyffelyb, heb yr un iawn. Gwrthoda y rhai hyn yr ordinhad trwy ba un y ceir yr Ysbryd Glan, a gwrthodant ei holl ddoniau grasusol. Felly, cauant eu hunain tu faes i addewid Duw, ac ni dderbyniant.

4. Rhai a weddiant heb na ffydd na chrediniaeth y mwynhant o'u dymuniadau, ond y maent yn ammau, ac yn credu nad yma y ceir mwynhau, ond wedi marw, ac mewn byd arall. Nid ydynt yn gofyn o'r galon, eithr y maent fel y dywedodd yr Arglwydd, trwy y prophwyd,—"Nesâu y mae y bobl hyn ataf â'u geneuau; eu calonau sydd bell oddiwrthyf." Er hyn, y mae ganddynt eiriau gweddi, llais ochenaid o'r galon, debygid; ond gweddio y maent, "fel yr ymddangosont i ddynion" am y goreu, y naill i glyw y llall, fel y caffont enw mawr, gair da, neu fel y dywed yr ysgrythyr, "eu gwobr." O ba herwydd ni dderbyniant.

5. Y mae ereill yn gweddio hefyd, ac heb ofalu dim a ydyw yr hyn a ofynant yn ol ewyllys Duw i'w gyfranu, neu a fyddai mwynhau eu cais yn llesol iddynt ai peidio. Gofynant bethau nad ydynt yn ddeall, nac yn ystyried; felly ni dderbyniant.

6. Ereill a weddiant yn aml yn y teulu, ac yn y cyfarfodydd; ond nid ydynt yn daer wrth y gorchwyl, nac yn benderfynol wrth y gwaith; eithr o herwydd fod yr ysgrythyr yn dywedyd mai "pob duwiol a weddia," a bod yn ddyledswydd ar grefyddwyr i wneyd hyny, hwythau a weddiant, ond nid ydynt yn daer a phenderfynol; am hyny ni dderbyniant.

7. Ereill a weddiant, ond nid gyda dyben cywir, ond fel y gallont dreulio y cyfryw bethau (os cânt) ar eu melysion chwantau. Y mae y rhai hyn a mwy o awydd am lesoli eu hunain, na gogoneddu Duw; eu hunain yw y cyfan, a phawb a phobpeth arall fel dim. Ond ni dderbyniant.

8. Ereill a gamsyniant yr amser y dylid gweddio; esgeulusant

dymmor ieuenctid; ond ar wely angeu, galwant ar ereill i weddio drostynt, ac ymdrechant pryd hyn i weddio eu hunain; ac os na wrandewir eu gweddiau pryd hyn, yr hyn sydd led annhebyg, oblegid ofn angeu a barn a'u cymhell at y gorchwyl y pryd hwn, ac nid cariad at Dduw, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni, a rhoddi ei Fab i fod yn iawn dros ein pechodau ni. Byddant y pryd hyn fel y goludog, yn hollol anwybodus, am Dduw, na'i drefn i ateb gweddiau ei blant, ac am hyny byddant yn agored, fel y goludog, i weddio ar Abraham, yn lle Duw, am ddafn o ddwfr, yn lle gwaredigaeth! ac anfon un oddiwrth y meirw, i dystiolaethu am y poenau, yn lle am drefn Duw i achub!

9. Y mae llawer yn gweddio hefyd heb ymdrechu cadw gorchymynion Duw, ïe, heb gymmaint ag ufuddhau i'r ffurf o athrawiaeth iachus, chwaithach byw yn ol dysgeidiaeth Crist a'r apostolion. Gweddia rhai am i Dduw faddeu iddynt hwy, pan na faddeuant i'w gilydd, ïe, i'w brodyr a'u chwiorydd yn yr un eglwys. Nid ydynt wedi eu cyfan-gydgyssylltu yn yr un meddwl, nac yn yr un farn; ond pob un ei feddwl, ei farn ei hun; cynnifer o farnau, ac o bersonau yn lled agos yn yr un eglwys. Gofynant am eu bara beunyddiol, pan uwch ben eu digonedd. Ni ddyrchafant ddwylaw yn ol ewyllys yr Apostol; y maent mewn fath gaddug o dywyllwch, fel y mae ambell i feddwyn yn gweddio, ambell i buteiniwr, ambell i gybydd, ambell i leidr, ïe, mewn gair, call, ffol, a phawb; ond nid pawb sydd yn derbyn; ac o herwydd hyn, yr ysgrifenais am rai o'r rhwystrau ag y sydd eisieu eu symud yn gyntaf, cyn plygu glin gerbron Duw, a galw arno ef.

Yn awr, hen frodyr a theidiau, gyda'r gwahanol enwadau crefyddol,—yr wyf yn eich annog i ystyried hyn, fel y galloch symud y rhwystrau, a mwynhau o'ch dymuniadau ar ol do'd.at y Seintiau, fel y cefais innau trwy drugaredd.

Yr eiddoch yn ostyngedig,

*Graig-ddu.* JOHN RICHARDS.

---

## TESTAMENT Y DEUDDEG PATRIARCH, SEF MEIBION JACOB.

[*Parhad o dud.* 108.]

### TESTAMENT ZABULON,

*A wnaeth efe i'w Blant wrth farw, ynghylch Tosturi a Thrugaredd.*

Zabulon wrth farw a ddywedai,
O flaen ei blant a phawb a garai,
Am fod Trugaredd a Thosturi
Wrth bob dyn yn amser c'ledi.

Y GORCHYMYN a roddes Zabulon i'w blant y ganfed a'r bedwaredd ar ddeg o flynyddoedd ei fywyd ef, deuddeg ar hugain o flynyddau ar ol marwolaeth Joseph; efe a ddywedodd wrthynt,

Gwrandewch fi, chwi feibion Zabulon, myfi oeddwn rodd dda

i'm tad ac i'm mam; canys pan genedlwyd fi, fy nhad a gynnyddodd yn fawr iawn mewn defaid ac anifeiliaid, oblegid y llwyddiant da a gafodd ef trwy y gwiail brythion.

Ni fynaswn ac nis gwyddwn, fy mhlant, i mi bechu yn y dyddiau hyny, canys nid ystyriais i mi wneuthur yn ddrygionus drwy anwybodaeth yn achos Joseph; ac yn hytrach ddarfod i mi gelu y peth gyda fy mrodyr, oddiwrth fy nhad; ond pa fodd bynag, mi a wylais lawer yn y dirgel o'i blegid; Canys yr oeddwn yn ofni fy mrodyr yn fawr iawn, oblegid eu bod hwy yn cydfwriadu lladd â'r cleddyf yr hwn a ddatguddiai y gyfrinach yma: er hyny i gyd pan fynent hwy ei ladd ef, mi a daer erfyniais arnynt drwy ddagrau, na byddai iddynt wneuthur y cyfryw ddrygioni; canys Simeon a Gad a ddaethant at Joseph ar fedr ei ladd ef, ond Joseph gan gwympo ar ei liniau, a ddywedodd wrthynt, Cymmerwch drugaredd arnaf fi, fy mrodyr, tosturiwch wrth ymysgaroedd ein tad Jacob, ac na osodwch eich dwylaw arnaf, i dywallt gwaed gwirion; canys ni phechais i'ch erbyn, ac os darfu i mi wneuthur ar fai, cystuddiwch fi â cheryddon, ac na osodwch eich dwylaw arnaf, er mwyn Jacob ein tad. Ac efe yn dywedyd y pethau hyn, mi a gynhyrfwyd â thosturi, ac a wylais, a'm calon a doddodd o'm mewn, a rhyddhaodd sylwedd fy ymysgaroedd ar fy enaid, a Joseph a wylodd, a minnau gydag ef, a'm calon a gyffrodd, a chymmalau fy nghorff a grynodd fel nad oedd ynof nerth i sefyll. A phan welodd ef fi yn wylo, a hwythau yn dyfod tuag ato ef i'w ladd, efe a ffodd o'r tu ol i mi, ac a ddeisyfodd arnynt gymmeryd trugaredd arno. Yna, Reuben gan redeg i mewn, a ddywedodd, Fy mrodyr, na laddwn ef, eithr rhoddwn ef yn y pydew sych a gloddiodd ein tadau, ac ni chawsent ddwfr, o herwydd ni chaniatasai yr Arglwydd i ddwfr gyfodi ynddo, er mwyn diogelwch i Joseph, ac felly y bu hyd oni werthwyd ef i'r Ismaeliaid. Ac yn y modd hyn ni chydunais â'r pechod hwnw yn erbyn Joseph: ond Simeon a Gad, ac eraill o'm brodyr, gan gymmeryd arian am Joseph, a brynasant esgidiau â hwynt iddynt eu hunain, i'w gwragedd ac i'w plant, gan ddywedyd, Na fwytawn mo hono, canys gwerth gwaed ein brawd ni yw, ond gadewch i ni ei sathru a'i fathru dan ein traed, o herwydd iddo efe ddywedyd y byddai iddo ef deyrnasu drosom ni, a ni a gawn weled beth a ddaw o'i freuddwydion ef: canys y mae'n 'sgrifenedig yn nheyrnwialen cyfraith Enoch, am yr hwn ni chyfodai had i'w frawd. Mi a ddattodais esgid Joseph, canys pan ddaethom ni allan o'r Aifft, gwr ieuanc a ddattodai esgidiau Joseph yn y porth, a ninnau a anrhydeddem Joseph, megys Pharao, ac nid yn unig anrhydeddem, ond hefyd aem ar ein gliniau o'i flaen ef, ac a wridem, ac felly yr oeddym yn cywilyddio yn ngolwg yr Aifftiaid, o herwydd yr Aifftiaid a glywsent yr holl ddrwg a gynnygiasom ac a wnaethom i Joseph.

Ar ol ei fwrw ef i'r pydew, fy mrodyr a roddasant fwyd ar y bwrdd i fwyta, ond myfi gan alaru am fy mrawd Joseph, ni phrofais ddim bwyd dros ddau ddiwrnod a dwy noswaith ynghyd;

ac ni fwytai Juda gyda hwynt, ond dal ei olygon ar y pydew, rhag i Simeon a Gad fyned yno a'i ladd ef; a phan welsant nad oeddwn yn bwyta dim, hwy a'm gosodasant i'w gadw, hyd oni werthwyd ef.

Tri diwrnod a thair noswaith y bu ef yn y pydew heb luniaeth, hyd oni werthwyd ef.

Yna, Reuben pan glybu ei werthu, yn absennol iddo ef, a rwygodd ei ddillad, ac a wylodd, gan ddywedyd, Pa fodd yr edrychaf yn wyneb fy nhad Jacob? Ac yna gan gymeryd yr arian, fe a redodd ar ol y marchnatawyr, ond nis cafodd afael arnynt, oblegid iddynt hwy adael prif-ffordd y brenin, a myned ar hyd y croesffyrdd cyfyng; a Reuben yntau ni fwytaodd fwyd yr holl ddiwrnod hwnw.

Yna Dan yn dyfod ato ef, a ddywedodd, Nac wyla, ac na bydded trist genyt o herwydd y bachgen, oblegid mi a wn beth i'w ddywedyd wrth ein tad Jacob. Ni a laddwn fynn gafr, ac a drochwn siaced Joseph yn ei waed ef, ac a ddywedwn wrth ein tad, Gwel, ai hon yw siaced dy fab, ai nad e? canys pan ddarfu iddynt fwriadu gwerthu Joseph, hwy a ddiosgasant siaced ei dad oddi am dano, ac a roddasant am dano hen siaced caeth-was.

Ond Simeon gwedi cael gafael yn y siaced, ni fynai ei rhoddi i ni, ond fe a fynai ei thori yn ddrylliau â'i gleddyf; canys yr ydoedd yn ddigllon am ei fod ef etto yn fyw, na buasai ef gwedi ei ladd.

Yna fy holl frodyr a gyfodasant i fyny ynghyd, ac a ddywedasant wrtho ef, Paham na roddi hi i ni, gan weled mai tydi yn unig oedd weithredwr y drygioni hwn yn Israel? Ac ar ol hyny fe a'i rhoddodd iddynt, a hwythau a wnaethant megys ag y cynghorodd Dan.

Ac yn awr, fy mhlant, yr ydwyf yn eich rhybuddio chwi i gadw gorchymynion Duw, ac i fod yn drugarog wrth eich cymmydogion, a chenych dosturi oddi mewn tuag at bawb; ac nid yn unig tuag at ddynion, ond tuag at anifeiliaid hefyd, canys ar y cyfrif hwnw y bendithiodd yr Arglwydd fi, yn gymmaint â phan oedd fy holl frodyr yn gleifion, i mi ddianc rhag y dolur; canys Duw sydd yn gwybod amcan pob dyn.

Gan hyny, fy mhlant, bydded genych dosturi yn eich ymysgaroedd, oblegid megys ac yr ymddygo pob dyn at ei gymmydog; felly yr ymddwyn Duw tuag ato yntau.

Canys plant fy mrodyr a syrthiasant yn gleifion, ac a fuant feirw, o herwydd Joseph, oblegid na ddarfuasai i'w tadau dosturio wrtho yntau, ond fy mhlant i a gadwyd yn iach, megys ag y gwyddoch.

A thra y bum ar y môr, ar dueddau Canaan, mi a aethum i bysgota i'm tad Jacob; a phan fyddai llawer ereill yn boddi yn y môr, myfi a gedwid yn ddiogel.

Myfi hefyd oedd y cyntaf a wnaeth lestr pysgota i slotian ar y môr, canys Duw a roddes i mi ddealltwriaeth a doethineb yn hyny, fel y gosodais hwyl-bren yn y llestr, ac a sicrheais yr

hwyliau yn nghanol y coed; a chan fyned o hyd gyda y glanau, mi a bysgotais i deulu fy nhad, hyd oni ddaethom i'r Aifft.

Ac o ran tosturi, mi a gyfranwn o'm pysgod i bob dyeithr-ddyn a gyfarfyddai â mi, ac os byddai neb gwedi ei eni mewn gwlad ddyeithr, neu yn glaf, neu oedranus, myfi a ferwwn o'm pysgod ac a'i trwsiwn yn dda, ac yn ol anghenrheidiau pob dyn, mi a ddygwn iddynt, gan eu cysuro hwynt, a thosturio wrthynt; ac oblegid hyny, Duw a wnaeth i mi ddal llawer o bysgod yn y môr. Canys yr hwn a roddo i'w gymmydog, a dderbyn helaethrwydd oddiwrth yr Arglwydd.

Pum mlynedd y pysgotais, gan roddi i bob dyn a welwn, a gwasanaethu teulu fy nhad yn ddigonol.

Yn amser cynauaf y byddwn yn pysgota, ac amser gauaf y byddwn yn porthi y defaid gyda fy mrodyr.

Yn awr, mi a fynegaf i chwi yr hyn a wnaethum, pan welais ddyn truenus yn nhrymder gauaf, a chan fod genyf dosturi tuag ato, mi a ddygais ddillad yn ddirgel allan o'm tŷ, ac a'u rhoddais i'r dyn noethlyd.

Chwithau gan hyny, fy mhlant, cymmerwch dosturi yn gyffredinol wrth bob dyn, a dangoswch drugaredd ar y pethau a roddes Duw i chwi, a chyfrenwch hwynt oddiamgylch â chalon dda; a bydded genych dosturi a thrugaredd oddi mewn tuag ato ef: canys mi a wn na bu fy llaw i ddiog i roddi i'r hwn a fyddai mewn eisieu, ac i dreulio amser gydag ef yn gymmaint â darfod i mi rodio ychwaneg na saith o ystadau gyda'r cyfryw gan wylo, a'm calon yn riddfanus o dosturi tuag ato.

Chwithau gan hyny, fy mhlant, bydded genych ddifrifol drugaredd oddi mewn i chwi tuag at bob dyn a fyddo mewn trueni, fel y byddo i Dduw dosturio wrthych, a chymmeryd trugaredd arnoch yr un modd. Oblegid yn y dyddiau diweddaf, Duw a ddenfyn ei drugaredd ar y ddaear, a pha le bynag y caffo efe garedigrwydd a thrugaredd oddi mewn, yno y preswylia efe; deliwch sylw, canys cymmaint ag a ddangoso dyn o drugaredd i'w gymmydog, cymmaint â hyny a ddengys Duw iddo yntau drachefn.

Ac yna, pan ddaethom i waered i'r Aifft, Joseph ni feddyliodd am ein drwg ymddygiad tuag ato ef, ond pan ein gwelodd, ei galon a gynhesodd, ar ba un edrychwch fy mhlant, a dysgwch anghofio niwed a wneler i chwi; cerwch y naill y llall, ac na fydded i'r un o honoch feddwl am ddrwg ymddygiad y llall, canys hyn sydd yn tori yr undeb, yn anfoddloni cenedl, ac yn cythryblio y meddwl, canys yr hwn sydd yn coño y cam a basiodd, sydd heb ymysgaroedd trugaredd. Deliwch sylw ar y dyfroedd, a gwelwch y modd y golchant ymaith y tywod pan fyddo y ceryg a'r trawstiau yn symud oddiwrth eu gilydd. Ac os i amryw ffrydiau y troir nant, y mae y ddaear yn ei sugno i fyny, ac felly yn diddymu; ac felly y bydd i chwithau os ymrenwch yn eich mysg eich hunain; gan hyny, nac ymrenwch eich hunain yn ddau ben, canys nid oes ond un pen i bob cre-

adur a greodd Duw; fe roddwyd i ddyn ddwy ysgwydd, dwy law, a dwy droed, ond etto yr holl aelodau ydynt yn ufyddhau i'r un pen.

Ond yr ydwyf fi yn gwybod wrth ysgrifeniadau fy nhadau, y bydd i chwi yn y dyddiau diweddaf ymadael oddiwrth yr Arglwydd, ac ymranu yn Israel, gan ddilyn dau frenin, a gweithredu pob drygioni, gan addoli pob math o eulunod, a'ch gelynion a'ch cymmerant chwi yn garcharorion, a chwi a eisteddwch yn mhlith y Cenedloedd mewn pob math o drueni, gorthrymder, a thristwch meddwl.

Ac ar ol hyny, y cofiwch yr Arglwydd, ac yr edifarhewch, ac efe a'ch dychwel chwi drachefn; oblegid y mae efe yn drugarog ac yn llawn tosturi, ac nid yw efe yn myfyrio ar ddrygioni meibion dynion, o herwydd cnawd ydynt hwy, ac ysbrydoedd cyfeiliornus sydd yn ceisio eu twyllo hwynt yn eu holl weithrediadau.

Ac ar ol hyny, Duw ei hun a gyfyd atoch chwi oleuni cyfiawnder, ac iechyd, a thrugaredd fydd yn ei gospedigaethau ef; ac efe a wared yr holl bobl oddiwrth gaethiwed Belial, a'i holl ysbrydoedd cyfeiliornus, a'r holl ysbrydoedd cyfeiliornus a fethrir i lawr dan draed, ac efe a ddychwel y Cenedloedd i ddilyn ar ei ol ef, a chwi a gewch weled Duw mewn agwedd dyn; canys Duw a ddewisodd Jerusalem, a Duw ydyw ei enw ef. Chwychwi trwy eich geiriau drygionus, a'u hannogwch ef i ddigofaint, a chwi a fwrir ymaith hyd amser cwbl gyflawnder.

Ac yn awr, fy mhlant, na fyddwch drist o herwydd fy marwolaeth, ac na ddigalonwch am fy mod yn ymadael â chwi; canys myfi a gyfodaf drachefn yn eich mysg, megys tywysog yn nghanol fy llwyth, yn mysg cynnifer ag a gadwant gyfraith yr Arglwydd, a gorchymynion Zabulon eich tad: ond am y drygionus, Duw a ddwg arnynt dân tragywyddol, ac a'i dinystria hwy yn dragywydd.

Wele fi yn dychwelyd i'm gorphwysfa, fel y gwnaeth fy nhadau.

Ac yn awr, ofnwch chwithau yr Arglwydd eich Duw, â'ch holl nerth, holl ddyddiau eich bywyd.

Ac fel yr ydoedd efe yn llefaru y geiriau hyn, efe a hunodd i'w unig lesâd, a'i feibion a'i rhoddasant ef mewn arch, ac a'i dygasant ef yn ol i Hebron, ac a'i claddasant yno gyda'i dadau.

---

## TESTAMENT DAN.

*A wnaeth efe i'w blant wrth ei farwolaeth, yn nghylch digofaint a chelwydd.*

Dan a adawodd ddau orchymyn
Yn mhlith ei deulu a dâl eu dilyn,
Er mwyn cilio oddiwrth y celwydd,
Dig a llid, a lled ynfydrwydd.

Copiad o eiriau Dan, y rhai a lefarodd efe wrthynt yn ei ddyddiau diweddaf, yn y bummed flwyddyn ar hugain a chant o'i fywyd; efe a alwodd ei lwyth yn nghyd, ac a ddywedodd,

Chwi blant Dan, gwrandewch ar fy ymadroddion, a rhoddwch glust i eiriau fy ngenau. Mi a hoffais yn fy nghalon, ac a ddangosais yn fy holl fywyd y pethau sydd dda, o herwydd gwirionedd ynghyd ag uniawn ymddygiad sydd yn gwir foddloni Duw. Myfi a gaseais bethau niweidiol, megys celwydd a digofaint, oblegid eu bod yn dysgu i ddyn bob math o ddrygioni.

Yr ydwyf y dydd hwn yn cyfaddef i chwi fy mhlant, fy mod yn llawen yn fy nghalon ar farwolaeth Joseph, y gwr da uniawn hwnw; ac yr oeddwn yn ymlawenychu pan werthwyd ef, o herwydd fy nhad a'i carai yn fwy nâ nyni; am hyny, ysbryd cenfigen a balchder a ddywedodd wrthyf, Yr wyt yn fab iddo cystal ag yntau: ac un o ysbrydoedd Belial a weithredodd gyda mi, gan ddywedyd, Cymmer y cleddyf hwn a lladd Joseph, a phan fyddo efe farw, dy dad a'th gâr dithau: dyma yr ysbryd cenfigenus a'm cynghorodd i ddyfetha Joseph, fel y dyfethai llewpard fynn. Ond Duw fy nhad Jacob ni roddodd mo hono yn fy llaw, ac nis gadawodd i mi ei gael ef yn unig, fel y dyfethwn ddwy deyrn-wialen yn Israel, trwy weithredu y fath ddrygioni.

Ac yn awr, fy mhlant, yr ydwyf yn dywedyd i chwi mewn gwirionedd, oni bydd i chwi gadw eich hunain oddiwrth ysbryd celwydd a digofaint, a charu gwirionedd a hir-ymaros, chwi a ddyfethir.

Canys dall yw digofaint, fy mhlant, ac nis gall un dyn digllongar edrych yn wyneb gwirionedd, o herwydd pe baent dad neu fam iddo, etto y mae yn eu cyfrif hwynt oll yn elynion iddo.

Er ei fod yn frawd iddo, etto nid adnebydd mo hono.

Pe bai ef brophwyd i'r Arglwydd, etto nid ufyddha ef iddo.

Ac er ei fod ef yn gyfaill iddo, ettó nid yw ef yn ystyried hyny: canys ysbryd llidiawgrwydd sydd yn ei amgylchu ef â maglau cyfeiliornad, gan ddallu ei lygaid naturiol ef, a thywyllu llygaid ei feddwl ef trwy dwyll, a rhoddi iddo ef olygon o'i wneuthuriad ei hunan.

Yn mha beth y mae ef yn cibddallu ei lygaid ef? Mewn casineb calon; oblegid y mae ef yn rhoddi iddo galon hunanol yn erbyn ei frawd i'w groesi ef, ac i'w genfigenu ef.

Am hyny, fy meibion, llid sydd beth drygionus, o herwydd y mae yn dyfod i fod yn enaid i'r enaid, ac yn darostwng y corff iddo ei hun, trwy feistroli dros yr enaid, ac yn rhoddi gallu i'r corff i wneuthur pob drygioni; a phan weithredo yr enaid, y mae yn cyfiawnhau yr hyn a wnelo, o herwydd nid ydyw yn gweled.

Gan hyny, yr hwn sydd yn llidiog, os bydd yn wr galluog, y mae ganddo allu tri-dyblyg yn ei ddigofaint: un trwy gynnorthwy a chymhorth ei weision, un arall trwy ei gyfoeth; â pha un y mae yn perswadio dynion, ac yn gorchfygu eu hanghyfiawnderau; a'r trydydd trwy natur ei gorff, yr hwn o hono ei hunan sydd yn gwneuthur drygioni.

Ac er na byddo y dyn yr hwn sydd ddigllon, ond gwr tlawd,

etto ei allu naturiol ef a ddyblir: o herwydd yr unrhyw ysbryd sydd beunydd yn gyru yn mlaen ei ddrygioni, trwy beri i'w weithredoedd ef ymgymharu â chelwydd.

Ac am hyny, ystyriwch allu digofaint, ac mor ofer ydyw: oblegid y mae yn chwerw yn yr ymadrodd, ac yn rhodio ar ddeheu-law satan, fel y gweithredir ei weithredoedd ef mewn anffyddlondeb a chelwydd. Canys y mae satan yn gyntaf yn brathu trwy ymadroddion, a phan unwaith y pigo ef yn mlaen, y mae yn ei nerthu ef i weithredu, ac yn blino ei ddealltwriaeth â chwerw bigiadau a cholledion, ac felly yn annog ei feddwl ef i anfesurol ddigofaint.

Am hyny pan ddywed undyn i'ch erbyn, na chynhyrfer chwi i ddigofaint; neu pan ganmoler chwi megys gwŷr da, nac ymddyrchefwch, ac na'ch newidier i wantawrwydd, nac i wylltineb wynebpryd; canys pan glywo dyn beth anhoffgar ganddo, y mae yn gyntaf yn brathu, ac yn cynhyrfu ei feddwl felly, hyd oni thybio fod ganddo achos cyfiawn i ddigofaint.

Yn awr gan hyny, fy mhlant, os bydd i chwi syrthio i ddim colled, neu rwystr, na fyddwch allan o amynedd, canys y mae ysbryd anamyneddgar yn peri i ddynion chwennych y pethau a aethant heibio, a diffygio o eisieu eu cael hwynt. Am hyny, dyoddefwch eich colledion yn ewyllysgar, ac na fyddwch aflonydd o'i blegid, o herwydd aflonyddwch a bair ddigofaint ac anwiredd, a bod ag wyneb dau ddyblyg sydd ddrwg; y mae digofaint ac anwiredd yn siarad y naill â'r llall, i flino y dealltwriaeth: oblegid pan fyddo y meddwl yn cael ei rwystro gan anfoddlonrwydd, y mae yr Arglwydd yn ymadael ag ef, a Belial yn cael arglwyddiaethu arno.

Gan hyny, fy mhlant, cedwch orchymynion a chyfreithiau yr Arglwydd, a gochelwch anwiredd a chasewch ef, fel y preswylio yr Arglwydd ynoch chwi, ac y cilio Belial ymaith oddiwrthych; dyweded pob un o honoch y gwir wrth ei gymmydog, fel na syrthioch mewn rhwystr yn ewyllysgar, ac felly y cewch fod mewn llonyddwch, a chwi a gewch Dduw y tangnefedd, ac ni lwydda rhyfel i'ch erbyn: cerwch chwithau yr Arglwydd holl ddyddiau eich bywyd, a cherwch y naill y llall â chalon gywir.

Canys sicr genyf y bydd i chwi yn y dyddiau diweddaf ymadael oddiwrth yr Arglwydd, a rhodio mewn drygioni, gan wneuthur ffieidd-dra, drwy weithrediad ysbrydoedd twyllodrus ynoch; canys mi a ddarllenais yn ysgrifeniadau Enoch, mai satan ydyw eich tywysog chwi; ac y bydd i holl ysbrydoedd godineb a balchder ymegnio i osod rhwydau i faglu meibion Dan, i wneuthur iddynt hwy bechu o flaen yr Arglwydd.

Ond fy mhlant, glynwch chwi wrth Lefi, ac edrychwch arno ef yn mhob peth.

Plant Juda a gymmerant ymaith eiddo dynion ereill, megys llewod, trwy gybydd-dra; ac oblegid hyny yr arweinir chwi gyda hwynt i gaethiwed; ac yno i dderbyn holl bläau yr Aifft, a holl ddrwg feddwl y Cenedloedd.

Er hyny, chwi a ddychwelwch at yr Arglwydd, ac a gewch drugaredd, ac efe a'ch dwg chwi i'w le santaidd, ac a gyhoedda heddwch i chwi.

Ac iachus achubiaeth a dardd allan i chwi o lwythau Juda a Lefi, efe a wna rhyfel yn erbyn Belial, ac a rydd i'n gwŷr ieuainc ni y fuddugoliaeth yn yr ymddial, efe a wared gaethion eneidiau ei seintiau oddiwrth Belial, ac a dry eich anghrediniol galonau at yr Arglwydd, ac a rydd heddwch tragywyddol i'r rhai a alwant arno.

A'r saint a orphwys ynddo ef, a'r cyfiawn a ymlawenycha yn Jerusalem newydd, yr hon a glodfora Dduw yn dragywydd.

A Jerusalem ni bydd mwyach yn ddifrod, ac ni arweinir Israel i gaethiwed, oblegid yr Arglwydd a fydd yn wastadol yn mysg dynion yn ei ganol ef; a Sanct Israel a deyrnasa drosoch chwi mewn iselder a thlodi, a'r hwn a gredo ynddo ef yn ddiau a deyrnasa yn y nefoedd.

Ac yn awr, fy mhlant, ofnwch yr Arglwydd, gochelwch satan a'i ysbrydion, a nesewch at Dduw, ac at yr Angel yr hwn sydd yn esgusodi Israel, canys efe ydyw y Cyfryngwr rhwng Duw a dyn, i osod tangnefedd yn Israel; efe a saif i fyny yn erbyn teyrnas y gelyn, am hyny y bydd i'r gelyn lafurio i ddadymchwel pawb oll ar a alwant ar enw yr Arglwydd; canys efe sydd yn gwybod mai pa bryd bynag y diflano Israel, yna y bydd diwedd ar deyrnas ei elynion ef: ond yr unrhyw Angel a nertha Israel, fel na ddel ef i ddiwedd drwg.

A'r pryd hyny y bydd i Israel ymadael oddiwrth anghyfiawnder, a'r Arglwydd a ymwêl â'r cyfryw a wnelont ei ewyllys ef yn holl leoedd Israel, ïe, yn mysg y Cenedloedd; a'i enw ef a fydd *Yr Achubwr.*

Gan hyny, fy mhlant, ymgedwch oddiwrth ymddygiadau terfysglyd, a rhoddwch oddiwrthych lid a phob anwiredd yn mhell. Cerwch wirionedd a mwyneidd-dra, ac edrychwch beth a glywsoch gan eich tadau, a rhoddwch chwithau hyny i fyny i'ch plant, fel y byddo i Dad y Cenedlaethau eich derbyn chwi: canys yr ydoedd ef yn gywir, yn hir-ymarhous, yn addfwyn, yn isel, ac yn ddysgawdwr cyfraith Duw, drwy ei weithredoedd ei hun.

Gan hyny, ymadewch â phob anghyfiawnder, fel y byddo i chwi lynu wrth gyfiawnder cyfraith yr Arglwydd, a chleddwch fi gyda fy nhadau.

Ac ar ol iddo lefaru y pethau hyn, efe a'i cysurodd hwynt, ac a hunodd hûn yr holl fyd, a'i feibion ef a'i claddasant, ac a osodasant ei esgyrn wrth esgyrn Abraham, Isaac, a Jacob.

Ac megys ag y prophwydodd Dan iddynt hwy, y byddai iddynt ryw amser esgeuluso cyfraith Duw, ac ymddyeithrio oddiwrth eu hiliogaeth, a gwlad genedigaeth Israel, ac felly y dygwyddodd.

(*I'w barhau.*)

## ACCROSTIC.

YN mhlith fy ngelynion annhirion 'rwy'n byw,

Does neb i'm dyddanu ond seintiau fy Nuw;
Rwy'n aml mewn cystudd, annedwydd fy nod,
Yn nghanol blinderau Babilon wy'n bod.
Saint anwyl yr Iesu, nid hir byddwn gaeth;
O dyma Drysorfa—dihangfa a ddaeth:
Rhyw filoedd a folant, clodforant eu Tad,—
Fe drefnodd y llwybr, gwaredir ni'n rhad.
Amynedd sy'n eisieu ar Seintiau (ag sydd

Yn nghanol eu trallod), er dyfod yn rhydd;
Methedig a thlodion, rhai ffyddlon, llawn ffydd,
Fwynhant yr addewid yn sicr rhyw ddydd.
Ufyddion yr Iesu, cawn fendith, mi wn,
Drwy roddi cynnorthwy i'r cynllun da hwn;
O Babilon brysiwn, 'nol cynghor ein Tad,
Llawenydd sydd beunydd yn Seion, hoff wlad.

*Merthyr.* JOHN ARGUST.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

AMSER.—Y mae mynydyn o amser yn gyfran o fywyd, yr hwn nis gellir ei alw yn ol; a bydd coffadwriaeth am dano yn ffynnon o lawenydd neu ynte o dristwch.

NI fu un dyn erioed yn golledwr wrth wneuthur da, canys er dichon na chaiff ei wobrwyo yn fuan, etto, yn mhen amser, dichon i ryw gyfyngder ddygwydd i'w ddarbwyllo fod dynion rhinweddol yn anwyliaid i Ragluniaeth.

---

"W. M."—Ffolineb i ni dreio rhoi cyfarwyddiadau pa fodd i weithredu mewn breuddwyd; mae genym ddigon o waith i gyfarwyddo dynion sydd yn gweithredu ar ddihun. Dichon y caiff ein brawd wybodaeth ei hun yn ei freuddwyd nesaf.

TALIADAU O EBRILL 2 HYD EBRILL 16.—Sir Aberteifi, 8s 6c; Sir Ddinbych, £1 13s; Sir Benfro, 10s; Llantrisaint, 6s 6c; Pontytypridd, £1 12s 6c; Llanfabon, 16s; Cwmbach, £1; Twynyrodyn, 15s; Gog, 8s; Caerdyf, £3 7s 4½c; Aberdare, £3 10s; Dowlais, £1 18s; Hirwaun, £3 8s; Rymni, £2 8s 6c; Cwmnedd, 4s; Georgetown, £2 11s 7c; Cefn, 17s 1½c; Cyfanswm, £25 14s 1c.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 9.] MAI 3, 1851. [PRIS 1g.

## AT LYWYDDION CYNNADLEDDAU A DOSPARTHWYR LLYFRAU.

ER ein bod amrywiol weithiau wedi rhoddi cyfarwyddiadau yn nghylch dyledswyddau llywyddion a dosparthwyr mewn perthynas i lyfrau Cymreig a Seisnig; etto, rhag i neb gymmeryd esgus yn mheilach, ar awgrymiad oddiwrth y Llywyddiaeth yn Liverpool, cyhoeddwn yn ychwanegol sylwedd cyfarwyddiadau y Llywydd Orson Pratt, yn STAR Ebrill 1, 1850, y rhai sydd yn dal cyssylltiad â llyfrau Cymreig yn gystal â Seisnig.

Gwyddoch ein bod wedi dechreu cyhoeddi y symiau dyledus am lyfrau ar ddiwedd pob chwarter, a'n bod yn meddwl cario hyny yn mlaen, fel y gwneir hefyd yn y Star mewn perthynas i lyfrau Seisnig.

Gellir gweled wrth y cyfrifon, fod y Cynnadleddau yn gwneyd cryn fusnes â'r swyddfaoedd yn Merthyr a Liverpool; a chan hyny, dyledswydd pob llywydd cynnadledd yw gofalu fod ei gynnadledd yn penodi arolygwyr i edrych llyfrau y dosparthwr cyffredinol, a gweled fod ganddo ddigon o lyfrau, Stars, Udgyrn, &c., ar law, ar ddiwedd pob chwarter, fel ag y byddo eu gwerth, wedi ei ychwanegu at y symiau dyledus iddo oddiwrth yr isddosparthwyr (sef dosparthwyr y cangenau), yn cyfateb i filiau cyhoeddedig y ddwy swyddfa uchod.

Dylai y dosparthwr cyffredinol, yn union wedi gweled ei ddyled yn y Star a'r Udgorn, i ddanfon biliau i'w holl is-ddosparthwyr

trwy ei gynnadledd; a dylai llywydd pob cangen fynu gweled fod arolygwyr yn cael eu penodi i edrych cyfrifon dosparthwr ei gangen, a gweled fod ganddo ddigon o lyfrau ar law, neu arian, i ateb gofyniad y gynnadledd trwy ei dosparthwr cyffredinol.

Bydded i'r cyfarwyddiadau hyn gael eu cario allan yn effeithiol, a chadwant ddynion gonest yn onest, a'r rhai sydd yn dueddol i fod fel arall, rhag gwneyd llawer o niwed; a chan mai "punctuality is the soul of business," boed i'r taliadau oddiwrth yr isddosparthwyr i'r dosparthwr cyffredinol fod mor fynych ag y bo yn gyfleus, a'r taliadau oddiwrth y dosparthwyr cyffredinol i Liverpool ac yma mor rheolaidd ag y byddo posibl.

Yr oedd tyb wedi ei choleddu, yn ddiweddar, i ryw raddau, yn mhlith y dosparthwyr, mai ddim ond unwaith y chwarter yr oeddym ni a'r swyddfa yn Liverpool yn gofyn tal; yn awr, na choledder tyb felly etto, canys nid oes un ddysgeidiaeth felly wedi deillio oddiwrthym ni nac O. Pratt. Yr ydym yn erfyn taliadau bob dwy neu dair wythnos, a setliad hollol bob chwarter am yr holl lyfrau gwerthedig; a phe ymdrechai y cynnadleddau i dalu am y llyfrau, &c., a fyddo ar law y dosparthwyr ar ddiwedd pob chwarter, byddai yn dra chyfleus i ni, ac hefyd galluogai ni i barhau mor rheolaidd yn ein taliadau i ereill, ag y dymunem i'n dosparthwyr fod tuag atom ninnau.

Er rhwystro llyfrau i bentyru gormod ar law y dosparthwyr, dylai pob cangen wneyd ei goreu i werthu yr hyn y mae yn dderbyn, trwy y dosparthwr cyffredinol, o'r gwahanol swyddfaoedd, trwy eu cadw ar werth yn nghyfarfodydd cyhoeddus y Saint, a rhywle arall os gellir.

Hefyd, bydded i bob cangen gadw ar werth y llyfrau rhwym, yn gystal â'r Stars, Udgyrn, a thraethodau, ac nid aros hyd nes y gelwir am danynt cyn anfon at y dosparthwr cyffredinol.

Ffordd ragorol i ddosparthu Udgyrn, Stars, traethodau, &c., yw rhoi rhywfaint o honynt i'r henuriaid teithiol, i'w gwerthu ar ddiwedd eu cyfarfodydd mewn lleoedd newyddion, lle nad oes dosparthwyr wedi eu sefydlu, ac nid ydym yn ammau na fydd llawer i ddyn gonest yn falch i gael eu prynu.

Wrth derfynu, taer erfyniwn ar y dosparthwyr i ddarllen y "Taliadau" pythefnosol yn yr Udgorn a'r Star, mor fuan ag y deuant i'w llaw, ac edrych os yw y swm a dalasant wedi ei nodi yn gywir; ac os na fydd, am ein hysbysu yn ddioed, fel y gellir diwygio y camsynied. Gall camsyniadau felly ddygwydd ar droion, a gobeithiwn y gwna y dosparthwyr yru atom, fel y byddo pob peth yn iawn. Hefyd, dylai pob dosparthwr rifo pob peth yn ei sypyn cyn dechreu ei ddosparthu, er gweled os bydd y rhif yn gywir, ac os na fydd, rhodded wybod i'r swyddfaoedd, neu i'r cyfryw a'i danfonodd. Gofaler hefyd i gymharu y biliau, ac yna ni fydd achos bod un camsynied o un tu. Yn awr, nid ystyrir neb yn addas i lywyddu na dosparthu, oni ymdrecha wneyd yn ol y cyfarwyddiadau uchod.

---

## "SIOMIANT MORMONIAETH"—LLYTHYR HENRY WILKINS.

MAE y *Bedyddiwr*, am Ebrill, 1851, yn cynnwys llythyr oddiwrth Henry Wilkins, o St. Louis, America, at ei dad, sef y Parch. Jas. Wilkins, Georgetown, Merthyr, yn darlunio "Siomiant Mormoniaeth." Mae Henry Wilkins, yn ol geiriau ei dad ar odreu y llythyr, yn "fachgenyn dwy ar bymtheg oed, yr hwn a hudwyd ac a dwyllwyd gan y Mormoniaid, neu y bobl a gam-enwant eu hunain yn Seintiau." Hwyliodd gyda'r Saint o Liverpool ar y 17eg o Hydref, 1850, tua New Orleans, yn mhlith oddeutu 416 o ymfudwyr, o ba yr oedd oddeutu 101 yn Wyddelod, y rhai oeddynt ar wahan yn y llong oddiwrth y Saint. Yr oeddem ni yn adwaen y bachgen uchod yn eithaf da; canys bu ein dwylaw ar ei ben, a dymunasom ddaioni iddo. Nid nemawr fisoedd, er hyny, y bu cyn cyflawni pechod na chwennychem ei enwi, am ba un y cafodd faddeuant. Ymddangosodd wedi hyny yn selog anferol, a chlywsom ni a channoedd ereill ef yn tystiolaethu yn Nghangen Merthyr, ei fod yn gwybod ei fod yn aelod yn Eglwys Iesu Grist, ac nad oedd neb yn iawn ond y Saint. Yr oedd ei dad, meddai efe, yn gwahardd iddo ddod i'w d ŷ, o herwydd ei grefydd. Yn fuan ar ol hyn, daeth awydd arno i ymfudo, a chafodd ganiatâd i hyny; ac felly y bu. Ond yn awr, wedi myned mor bell â St. Louis, dywed, "Cymmerais fy nhwyllo gyda rhai

ereill." A pha beth yw y twyll, tybied? Caiff llythyr y bachgen ateb. Dyfynwn a ganlyn:—

"Yr oedd llawer iawn o Irish gyda ni, sef oddeutu 101 o honynt, pa rai a barasant i ni flinder mawr iawn, yn gymmaint a'u bod yn lladrata ein bwyd oddiar y tân, sef y lle oedd gyda ni i gookan ein bwyd. Bum i, a llawer iawn ereill, yn byw ar flawd ceirch a dwfr, ac ychydig o *rice* wedi ei ferwi, yn gymmaint ag nas gallasem fwyta'r *biscuits*, pa rai oeddynt mor galed â cheryg. Yr oeddem yn eu gosod mewn dwfr twymn i *soako*, ond yr oeddynt yr un fath wedi hyny. Yr oedd llawer iawn yn llefain, gan na allasent gael bwyd i fwyta yn lle bwyd y llong, a llawer yn gofidio eu bod wedi dyfod o dref, a gadael lle cysurus i ddyfod y ffordd yma. Dyma wirionedd i chwi, fy anwyl dad. Y mae llawer un gyda chwi yna yn meddwl mai bywioliaeth dda iawn sydd ar y môr i'r *passengers*, ond yn wir y maent yn camsyried yn fawr. Yr oeddynt yn dweyd yn Liverpool, sef William Phillips, ynghyd â'r holl rai oedd gydag ef, wrthym ni, y rhai oeddem yn myned dros y môr, fod gyda ni fwyd am ddeg wythnos, pe byddem ar y môr gymmaint â hyny—fod Orson Pratt wedi gofalu am danom, am i ni beidio a meindio; ond anwiredd o'r mwyaf oedd hyny, fel rhywbeth arall a ddywedodd efe. Nid oedd gyda ni ddim ond bwyd chwech wythnos, a dyna beth ddywedodd y cadben; ac ni a gawsom weled hyny hefyd, yn gymmaint â bod y bwyd yn darfod. Daethom â llawer o fwyd o Liverpool, neu nis gwn i ddim beth a wnelsem yn wir. * * * Y mae llawer un a ddaethai yn ol pe bai ganddynt fodd i ddyfod; felly finnau hefyd, fy anwyl dad, yr un modd, pe byddai genyf ddim ond pum punt neu chwech i ddyfod; ond yr wyf heb ddim mewn gwlad estronol, ac y mae yn anmhosibl i gael gwaith yma y gauaf o herwydd ei bod mor oer. Nis gwn beth a eill agor yn yr haf i mi ac amryw ereill. Yr wyf yn meddwl am danoch chwi hyd nes y mae llawer o ddagrau yn treiglo dros fy wyneb. O na allwn weled eich gwyneb etto, fy anwyl dad; ni fyddaf mor ffol â gwrando ar y gau-brophwyd etto."

Mae yn rhyfedd fod yn rhaid i ni sylwi ar beth mor wael. Yr oeddym wedi gweled y llythyr uchod cyn ein rhifyn o'r blaen, ac wedi ei ystyried yn annheilwng o sylw; ond wedi hyny deallasom fod rhai crefyddwyr yn ein cymmydogaethau yn gwneyd cryn ddefnydd o hono, a meddyliasom mai gwell oedd sylwi ychydig arno yn yr UDGORN, a gyru copi i'r *Bedyddiwr*.

Yn y llythyr uchod, y peth cyntaf sy'n gwneyd y Saint yn dwyllwyr, yw fod y Gwyddelod yn lledrata eu bwyd. Yr ail beth, yw fod y bachgen, a llawer ereill, yn byw ar flawd ceirch a dwfr, ac ychydig o rice wedi ei ferwi, gan nas gallent fwyta'r *biscuits*, y rhai oeddynt mor galed a cheryg, er eu gwlychu mewn dwfr twym.

Pwy glywodd son am fara felly o'r blaen? rhaid mai ceryg oedd y pobydd yn Liverpool wedi roddi i'r Saint, yn lle bara; canys fe dynerai hyd y nod fara esgyrn mewn dwfr twymn. Y trydydd peth sy'n gwneyd y Saint yn dwyllwyr, yw fod llawer iawn yn llefain, o eisieu bwyd yn lle bwyd y llong. Druain o honynt, nid oeddynt yn ddigon newynog, efallai. Y twyll nesaf, yw fod William Phillips, a'r holl rai oedd gydag ef, yn dweyd fod bwyd deg wythnos yn y llong. Dywedasant yn iawn, canys nid yw y llywodraeth yn caniatâu i un siartrwr llong i Ogledd America, i fyned heb fwyd deg wythnos; ac os na fyddis hyny o amser ar y daith, dychwelir y gweddill o'r bwyd i'r siartrwr. Os nad oedd mwy na chwech wythnos o fwyd ar y llong, mae y llywodraeth wedi dyoddef i'r Saint gael eu twyllo. Ond, aroswch dipyn, ni fu y llong heb ddigonedd o fwyd, yn ol llythyr y bachgen. Pum wythnos a phedwar diwrnod y buont ar y môr; a chan i'r bachgen, "a llawer iawn ereill," fod yn byw ar flawd ceirch a dwfr, a rice, rhaid fod llawer o fara a phethau ereill yn ngweddill ganddynt. A chadarnheir hyn gan lythyr llywyddion y llong, sef J. Morris a D. Evans, canys dywedant, "Y mae genym bum wythnos o fwyd heb ei gael" (gwel yr Udgorn am Ragfyr, 1850, tud. 344). Yr oedd yr hyn a ganlyn o fwyd i bob un mewn oedran:—25 pwys o fara môr, 10 pwys o gàn, 30 pwys o rice, 50 pwys o flawd ceirch, 10 pwys o gig moch hallt, 5 pwys o siwgr, 5 pwys o driagl, 1¼ pwys o dê, 3 phwys o ymenyn, 2 bwys o gaws, ac un peint o winegr; a hanner hyny i blant dan 14 oed. Os oedd eisieu rhyw fwyd arall ar y bachgen, dylasai fod wedi ei brynu ei hunan, fel y rhybyddiwyd pawb i wneyd.

Y twyll olaf a enwir o eiddo y Saint yw, fod yn anmhosibl i gael gwaith yn yr America y gauaf, o herwydd ei bod mor oer. Dichon fod anhawsdra ar droion i rywrai sy'n llefain ar ol eu rhieni, fel bachgen Mr. Wilkins; pwy roddai waith i rywun hiraethog felly? Mae yr holl lythyron a welsom ni o St. Louis, yn tystio yn wahanol hollol i Henry Wilkins—nid oes neb wedi methu cael ei foddloni ond efe; a dichon mai rhyw drosedd neu anufydd-dod ynddo ef, sydd wedi ei arwain i ysgrifenu cymmaint o ffolineb. Ond pe byddai yn anhawdd cael gwaith yn St. Louis, nid yw hyny yn profi dim o dwyll y Saint, nac ychwaith nad yw ymfudo i Ddinas y Llyn Halen yn waith da. Cymmaint â hyna yn bresennol ynghylch y bachgen a'i lythyr.

# TESTAMENT Y DEUDDEG PATRIARCH, SEF MEIBION JACOB.

[*Parhad o dud.* 131.]

---

## TESTAMENT NAPHTALI.

Naphtali yw yr hwn sy'n dywedyd
Wrthyt ti, a'i blant trwy'r holl-fyd,
Am gyd-rodio mewn daioni,
Yn y rheol a roed iti.

COPIAD o Destament Naphtali mewn perthynas i'r pethau y soniodd efe am danynt yn niwedd ei amser, yn y ganfed a'r ddeuddegfed ar hugain o flynyddoedd ei einioes ef. Yn nyfodiad ei blant ef i'r un man, ar y pedwerydd dydd o'r seithfed mis, ac etto yn ei iechyd, a orchymynodd wneuthur gwledd gostfawr, a pharotoi ymbeuthynfwyd. Y bore pan ddeffrodd efe o'i gwsg, o herwydd ei fod ef wrth ddrws marwolaeth, efe a folodd yr Arglwydd yr hwn a'i nerthasai ef, ac a ddechreuodd lafaru wrthynt fel hyn;

Fy mhlant, rhoddwch glust i Naphtali, gwrandewch eirau eich tad. Fe'm ganwyd o Bilha, ac o herwydd i Rahel ymddwyn yn gyfrwys wrth roddi Bilha i Jacob yn lle ei hun; a Bilha a esgorodd arnaf fi ar liniau Rahel; am hyny i'm galwyd Naphtali; a Rahel a'm carodd, am fy ngeni ar ei gliniau; hi a'm cusanai pan oeddwn yn fychan, ac a ddywedai, Duw a wnel i mi weled brawd i ti allan o'm croth megys tydi. O herwydd paham Joseph oedd debyg i mi yn mhob peth, yn ol erfyniad Rahel.

Bilha, fy mam, oedd ferch Rotheus, brawd Debora, mammaeth Rebecca, a hi a anesid ar yr un diwrnod a Rahel. Rotheus oedd Galdead, o genedl Abraham, yn addoli Duw, yn wr rhydd arddercbog.

Ond pa fodd bynag, yn gymmaint a'i fod ef gwedi ei gymmeryd yn garcharor, Laban a'i prynodd, ac a'i priododd â morwyn gaeth iddo, a'i henw oedd Efe, yr hon a ymddyg iddo fab, yr hwn a alwodd efe Zeliphas, yn ol enw y castell yn mha un y daliesid ef. Yn ol hyny, hi a ymddyg Bilha, hon pan ei ganwyd a elwid gan ei mam, Y forwyn newydd brysur, o herwydd ei bod yn brysur ar y fron pan ei ganwyd.

Ac o herwydd fy mod mor fuan ar fy nhraed â charw, fy nhad Jacob a'm hapwyntiodd i redeg i bob achosion a negesau, ac a'm bendithiai dan yr enw carw.

O herwydd megys ag y gŵyr y crochenydd pa faint a gynnwys ei lestr ef, ac a dymhera y maintioli o'r clai ar ol hyny, felly y mae'r Arglwydd yn gwneuthur corff dyn yn gyfaitebol i'r Ysbryd a drefno efe ynddo, ac yn cymhesuro yr ysbryd at allu y corff, fel nad oes ragor o anghymmesurdeb rhyngddynt; o herwydd holl greaduriaid yr Arglwydd a wnaed wrth bwysau, wrth fesur, a threfn.

Ac megys ag y mae y crochenydd yn gwybod gwasanaeth pob un o honynt, i ba beth y maent gymmesuraf; felly y mae yr Arglwydd yn adnabod y corff, pa cynbelled y mae ef yn gwmhwys i ddaioni, a pha bryd y mae ef yn dechreu mewn drygioni.

Canys nid oes un creadur rhesymol nac afresymol, nad ydyw yr Arglwydd yn ei adnabod; canys efe a greodd yr holl ddynion ar ei ddelw ei hun.

Ac fel y byddo nerth gwr, felly y bydd ei waith ef.

Ac megys ag y byddo ei ewyllys ef, felly y bydd ei weithred.

Ac fel y byddo ei ddyfais, felly y bydd ei weithrediad.

Fel y bydd ei galon ef, felly y bydd ei enau.

Fel y byddo ei lygaid ef, felly y bydd ei siarad.

Naill ai am gyfraith yr Arglwydd, ai am gyfraith Belial.

Gwelwch pa ragoriaeth sydd rhwng goleuni a thywyllwch, neu rhwng gweled a chlywed; y cyfryw sydd mewn gwr a gwraig.

Ac ni ddylid dywedyd fod dim chwerwder mewn un peth, nac yn yr wyneb, nac mewn dim o'r fath bethau; oblegid Duw a wnaeth bob peth yn dda yn ei reol, neu ei raddau ei hunan; efe a osododd bump o synwyrau yn y pen, ac a gyssylltodd y pen wrth y gwddf, ac a'i gorchuddiodd ef â gwallt, yn ogoniant iddo.

Ac yn mhellach, efe a ddarparodd y galon i ddoethineb, a'r bol i waghau yr ystumog, y ddwyfron i iechyd, yr afu i ddigofaint, y bustl i chwerwder, y ddueg i chwerthiniad, yr arenau i gyfrwysder, y lwynau i nerth, yr asenau i degwch, a'r had i rymusrwydd.

Ac felly, fy mhlant, gwnewch bob peth mewn trefn, ac yn ofn Duw, ac na wnewch ddim yn ddi-reol mewn gwawd, nac ychwaith allan o'i amser cyfaddas. Canys nis gall llygaid anianol ei weled, ac ni ellir chwaith wneuthur gwaith y goleuni yn y tywyllwch.

Am hyny, na phrysurwch i ddifwyno eich gweithredoedd trwy gybydd-dod, nac i dwyllo eich eneidiau â siarad ffolineb: canys trwy gadw dystawrwydd gyda chalon lân, y byddwch yn abl i wneuthur ewyllys Duw, ac i fwrw ymaith ewyllys y diafol. Yr haul, y lleuad, a'r sêr, nid ydynt yn tori eu rheol; felly, na thorwch chwithau gyfraith Duw yn rheol eich gweithredoedd.

Y Cenedloedd, trwy fyned ar gyfeiliorn, a gadael yr Arglwydd, a newidiasant eu trefn, ac a ganlynasant foncyffion, meini, ac ysbrydion cyfeiliornus.

Ond na wnewch chwi felly, fy mhlant, gwybyddwch mai eich unig Dduw sydd Arglwydd yn yr wybrenau, ac ar y ddaear, yn y môr, ac ar yr holl greaduriaid, canys efe yw eu Gwneuthurwr hwynt.

Ac na fyddwch debyg i Sodom, yr hon a newidiodd reol ei naturiaeth; a hwynt-hwy y rhai a felldithiodd Duw yn y diluw, gan wneuthur y ddaear yn anghyfannedd ac yn ddiffrwyth, er eu mwyn hwynt.

Fy mhlant, yr ydwyf yn dywedyd y pethau hyn, o herwydd i mi ddarllen yn santaidd ysgrifeniadau Enoch, y bydd i chwithau hefyd ymadael oddiwrth yr Arglwydd, a rhodio yn annuwioldeb Sodom, a'r Arglwydd a ddwg gaethiwed arnoch chwi, fel y

gwasanaethoch eich gelynion, ac y'ch gorthrymer â phob math o gystudd, a phoen, hyd oni ddiflanner chwi yn gwbl oll.

A phan wneler chwi yn ychydig, ac yn anaml, chwi a ddychwelwch at yr Arglwydd, a chwi a adnabyddwch eich Duw, ac yntau a'ch dwg chwi drachefn i'ch tir eich hunain, yn ol ei amryw drugareddau.

A bydd, pan ddelont i wlad eu tadau, yr anghofiant yr Arglwydd drachefn, ac ymddwyn yn annuwiol, fel y byddo i'r Arglwydd eu gwasgaru hwynt ar hyd wyneb yr holl ddaear, hyd oni ddelo Gwr yn nhrugaredd yr Arglwydd, yr hwn a dywallt allan drugaredd a chyfiawnder ar yr holl bobl, yn gystal yn mhell ac yn agos.

Canys yn y ddeugeinfed flwyddyn o'm bywyd, ar fynydd yr olewydd, o'r tu dehau i Jerusalem, mi a welais yr haul a'r lleuad yn sefyll i fyny yn llonydd, ac wele Isaac, tad fy nhad, a ddywedodd wrthym, Deuwch yma yn brysur, a chymmered pob un ei afael yn ol ei allu, oblegid fe ellir dal yr haul a'r lleuad. A nyni a ddaethom yn nghyd i gyd, a Lefi dan redeg a ddaliodd yr haul, a Juda gan neidio i fyny, a gymmerth afael yn y lleuad, a hwynt hwy ill dau a ddyrchafwyd i fyny wrthynt.

A phan ddaeth Lefi fel yr haul, rhyw wr ieuanc a roddodd iddo ddeuddeg cangen o balmwydd, a Juda a ddyscleiriodd fel y lleuad, a deuddeg trawst ydoedd dan ei draed ef; a Lefi a Juda gan redeg ynghyd, a welsant y naill y llall.

Ac wele, tarw ydoedd ar y ddaear, a chanddo gyrn mawr, ac adenydd eryr ydoedd ar ei gefn, a nyni a geisiasom ei ddal ef, eithr nis gallem; ond Joseph gan lamu o'n blaen, a'i daliai ef, ac a ymddyrchafai i fyny arno ef.

Ac wele, ysgrifen santaidd a ymdangosodd i ni, yn dywedyd, Yr Assuriaid, Mediaid, Elemitiaid, Geilathitiaid, a'r Caldeaid, a ddaliant deyrnwialen Israel mewn caethiwed.

Ac ar ol hyny, yn mhen y saith mis, y gwelais ein tad Jacob yn sefyll ar fòr Jamma, a'i feibion gydag ef; ac wele long yn dyfod heibio, yn llawn o gig sych, heb na morwr na llywydd, ac ar y llong yr ydoedd yn ysgrifenedig, Jacob, a'n tad a ddywedodd wrthym, Gadewch i ni fyned i'n llong; a phan oeddym ynddi, tymhestl greulon a gododd, gan wynt chwerw nerthol, a'n tad yr hwn ydoedd yn dal y llyw, a ddiangodd oddiwrthym, a ninnau yn cael ein coethi gan y tywydd, a fwriwyd i'r môr, a'n llong a lenwyd â dwfr, a'r tywod a gurodd, ac a dorodd arnom o bob tu: a Joseph a ddiangodd allan yn y cwch, a nyni oll a wasgarwyd ar ddeuddeg astyllen; a Lefi a Juda oeddynt yn ein plith; ac felly y'n gwasgarwyd ni i bob porth, a Lefi a wisgwyd â sach-liain, ac a weddiodd drosom oll at yr Arglwydd; a chyn gynted ag y gostegodd y dymhestl, y llong a ddaeth yn brysur i dir, ac wele ein tad Jacob a ddaeth, a ni a lawenychasom oll ynghyd o un feddwl.

Myfi a adroddais i'm tad y ddau freuddwyd hyn, ac efe a ddywedodd wrthyf, Y pethau hyn sydd raid eu cyflawni yn eu hamser, ac Israel sydd raid iddynt oddef llawer o bethau. Yna efe a ddywed-

odd yn mhellach, Yr ydwyf yn credu fod Joseph etto yn fyw, canys yr ydwyf yn gweled fod yr Arglwydd yn wastadol yn ei gyfrif ef gyda ni. Ac hefyd, efe a ddywedodd, yr ydwyf fi yn dy weled di, ond nid wyt ti yn gweled Jacob, yr hwn a'th genedlodd. Ac yn wir efe a wnaeth i mi wylo ar y geiriau hyny, a'm hymysgaroedd a ennynodd o'm mewn, i ddadguddio iddo ef ddarfod gwerthu Joseph, ond er hyny yr oeddwn yn ofni fy mrodyr.

Wele, fy meibion, myfi a ddangosais i chwi yr amseroedd diweddaf, a'r holl bethau a wnelir yn Israel.

Chwithau, gan hyny, gorchymynwch i'ch plant fod yn gymmwynasgar i Lefi, ac i Juda; canys oddiwrth Juda y tardd i fyny iachawdwriaeth daionus i Israel, ac ynddo ef y bendithir Jacob, canys trwy ei deyrnwialen yr ymddengys Duw, ac a breswylia yn mysg dynion ar y ddaear, i waredu praidd Israel, ac i gasglu y cyfiawn oddiwrth y Cenedloedd.

Fy mhlant, os gwnewch yn dda, dynion ac angylion a'ch clodforant, ac a'ch bendithiant, a Duw a ogoneddir o'ch plegid chwi yn mysg y Cenedloedd; y diafol a ffy ymaith oddi wrthych, a'r bwystfilod a'ch arswydant, a'r angylion a'ch derbyniant; megys fel pe bai gwr yn dwyn i fyny ei blentyn yn dda, mae y plentyn yn ymdrechu, bob amser, i fod yn ddiolchgar, ac i feddwl am hyny; felly am waith da, mae coffadwriaeth da gyda Duw.

Ond am yr hwn nid yw yn gwneuthur yn dda, dynion ac angylion a'i melldithia, a Duw a ddianrhydeddir trwyddo ef yn mysg y Cenedloedd, a'r diafol a'i meddianna ef megys llestr priodol, ac offeryn iddo ei hun: a'r Arglwydd a'i casâ ef. Canys gorchymynion y ddeddf ydynt o ddau fath, ac a gyflawnir mewn gweithred, canys y mae amser i wr ymgymdeithasu â'i wraig, ac amser i beidio â hi, fel y byddo iddo ymroddi i weddio. Y mae dau orchymyn a genedla bechod, oni wneir hwynt yn eu pryd a'u trefn, ac felly y mae yn y gorchymynion ereill.

Gan hyny, byddwch ddoethion a deallus yn yr Arglwydd, gan adnabod rheol ei orchymynion a'i gyfreithiau ef yn mhob peth, fel y byddo i Dduw eich caru chwi.

Ac wedi iddo orchymyn iddynt lawer o bethau o'r fath, efe a ddeisyfodd arnynt fyned a'i esgyrn ef i Hebron, a'i gladdu ef wrth ei dadau; ac felly yn bwyta ac yn yfed â chalon lawen, efe a orchuddiodd ei wyneb, ac a fu farw: a phlant Naphtali a wnaethant bob peth megys ag y gorchymynodd iddynt.

(*I'w barhau.*)

---

## BEDYDDIAD DAU O WEINIDOGION AC EREILL, YN TREAMAN, GER ABERDAR.

MR. GOL.,—Diau na fydd yn lawenydd mawr gan y Saint ac ereill, weled yr hanes a ganlyn yn ymddangos trwy gyfrwng eich soniarus UDGORN :—

Ar ddydd Sul, y 27ain o Ebrill, dywedir fod oddeutu 2000 o drigolion wedi ymgasglu i lân yr afon er gweled yr ordinhad o fedydd yn cael ei gweinyddu. Dechreuwyd y cyfarfod trwy ganu a gweddio, yna galwodd y Llywydd Wm. Phillips ar David Rees (yr hwn oedd hyd yn ddiweddar yn bregethwr efo'r Bedyddwyr) i anerch y gynnulleidfa, yr hyn a wnaeth fel y canlyn:— "Anwyl wrandawwyr, yr ydych yn dyrfa liosog wedi ymgasglu, ond nis gwn beth yw eich dybenion; ond fy nyben i yw ufyddhau i Iesu Grist heddyw. Yr wyf wedi bod yn grefyddol am flynyddau gyda yr enwad parchus o Fedyddwyr, ac yn bregethwr. Bum yn ymdrechu yn onest, ac yn gweddio ar Dduw am gael o'r addewidion a welir yn yr ysgrythyrau santaidd; methais a chael dim o honynt hyd yma, ac yr wyf yn tystio yn ngwydd y Nefoedd nad ydynt i'w cael gan neb o grefyddolion yr oes hon, o herwydd y maent hwy oll yn eu gwadu; ond, fel y dywedais lawer gwaith o'r blaen, yr wyf wedi cael pleserau gyda chrefydd, ond ni chefais gyflawniad o'r addewidion. Yr wyf yn awr yn penderfynu ymuno â'r Saint (canys y maent hwy yn eu haddaw), gan lwyr gredu y derbyniaf hwynt. Terfynaf yn awr, gan gymmeryd fy medyddio er maddeuant o'm pechodau, a'r Duw mawr a'ch bendithio chwi oll, fel y deloch ar fy ol, yw fy ngweddi. Amen." Dyna gynnwysiad ei leferydd. Yna galwyd ar D. L. Jones (yr hwn a fu am flynyddau yn weinidog parchus gyda y Bedyddwyr), i anerch y dorf, yr hwn ddywedodd fel hyn:—"Yr wyf yn eich caru chwi oll o'm calon. Y mae yn *day after date* i neb i'm digaloni trwy fy ngwawdio; yr wyf wedi bod yn weinidog parchus gyda y Bedyddwyr am lawer o flynyddau. Ac yr oeddwn yn proffesu fod genyf awdurdod, ond yn awr yr wyf yn gweled fy nghamsynied; canys ar ol chwilio trwy hanesyddiaeth yn ol hyd y nawfed ach, cefais fod y *link* wedi tori; yna canfyddais fod yn anmhosibl i'r awdurdod ddod o'r ddaear, a bod yn rhaid iddi ddod o'r nefoedd drachefn; a phwy oedd yn addasach nag angel i'w hadferyd hi? Yr wyf yn penderfynu myned yn blentyn bach o'r newydd trwy ymuno â'r Saint. Ac yr wyf tystio yn ngwydd y Nefoedd fy mod yn credu fod awdurdod yn meddiant Saint y Dyddiau Diweddaf. Rhoddaf yn awr fy hunan yn gyfan-gwbl i Dduw, a deuwch chwithau gyda mi; na ofalwch eich bod wedi gwisgo eich dillad goreu, deuwch, a gwisgwch Grist am danoch, trwy gymmeryd eich bedyddio

gyda mi, fel y gallom ddywedyd Abba, Dad, canys yr wyf am adnabod Duw fel y gallwyf ddywedyd fy Nhad wrtho; a bydded i gannoedd sydd yn ymofyn gwir grefydd i ddyfod ar fy ol yn fuan. Bendithied Duw chwi oll." Dyna gynnwysiad ei eiriau.

Yna, anerchodd y Llywydd Phillips y dorf fel y canlyn :—"Yr hwn a ewyllysio fyw yn dduwiol yn Nghrist Iesu, a erlidir." Mae y bobl hyn wedi bod, er ys blynyddau, yn ewyllysio byw yn dduwiol, trwy gofleidio yr egwyddorion a welir yn yr ysgrythyrau; ac am hyny y torwyd hwynt allan o gymmanfa y Bedyddwyr, heb gael cymmaint â chaniatâd i amddiffyn eu hunain. Nid wyf yn beio y Bedyddwyr oll, canys y mae cannoedd o ddynion da gyda hwy, fel pob enwad arall; y rhai drwg yr wyf yn gyhuddo. Mae yn rhaid i bawb sydd am fyw yn dduwiol i ddyfod allan o blith y rhai drwg i deyrnas Dduw, i fwynhau dawn yr Ysbryd Glân. Yr ydym wedi ymgynnull yma heddyw i weinyddu ordinhadau tŷ Dduw; a phwy bynag a wna ddirmygu y pethau hyn, cofied mai nid dyn y mae yn ei ddirmygu, ond Duw, yr hwn sydd yn y nefoedd." Llefarodd yn awdurdodol, a therfynodd trwy dystiolaethu fod yn rhaid i bob dyn yn mhob man, i edifarhau am ei bechodau, a chymmeryd ei fedyddio yn enw Iesu Grist, er maddeuant, gan un o'r Saint.

Yna D. L. Jones (*Dewi Elfed*), David Rees, a thri o'u haelodau, a fedyddiwyd gan y Llywydd Phillips, ac ymddygodd pawb yn foneddigaidd. Yr oedd oddeutu ugain wedi addaw ufyddhau, ond daeth rhyw amgylchiad i'w rhwystro; eithr y maent i ddyfod etto, a llawer gyda hwynt.

Am ddau, trwy ganiatâd Mr. D. L. Jones, yn ol yr hawl a feddai, cynnaliwyd cyfarfod yn y Capel y bu efe yn weinidog ynddo. Yr oedd y capel mawr yn orlawn, ac eisteddai y brawd Phillips yn nghadair y gweinidog. Wedi agor y cyfarfod, a gosod dwylaw ar y bedyddiedigion, ordeiniwyd D. L. Jones a D. Rees yn offeiriaid, dan ddwylaw W. Phillips a J. Davis; ac wedi hyny anerchodd Phillips y cyfarfod yn Gymraeg, a Davis yn Saesneg. Am chwech drachefn, pregethodd y brawd Phillips yn dra effeithiol, yr hyn a derfynodd waith y dydd. Bydded i fendith Duw fod ar y cyfan a gymmerodd le, a boed i luoedd yn y lle uchod ufyddhau i'r gwirionedd ar frys.

Yr eiddoch yn yr efengyl,

R. M.

## AWGRYMIAD CAREDIG I'R SAINT HYNY A FWRIADANT YMWELED A'R BRIF-DDINAS YN YSTOD YR ARDDANGOSIAD.

**Bydd** dyfodiad dyeithriaid o blith amrywiol genedloedd y byd gwareiddiedig mor ddirfawr, fel, yn ol pob tebygolrwydd, y bydd pob twll a chornel o Llundain, lle y gellir llettya, wedi eu gorlenwi, ynghyd â phob pentref a lle am lawer o filltiroedd oddi amgylch; ac os na fydd ymwelwyr yn gwybod yn mlaenllaw pa le y gallant gael cysuron bywyd, byddant yn lled agored i gael eu hunain mewn sefyllfa cryn annymunol, os na fyddant wedi ymgyfarwyddo â'r *gipsy life*, ac yn gallu bod mor gysurus oddi allan ag oddi mewn. Gellir ffurfio rhyw feddylddrych, efallai, oddiwrth yr hysbysiad, ddarfod, oddeutu dau fis yn ol, i wyth mil o bersonau, yn mhlith un genedl yn unig, ar y cyfandir, arwyddo i'w Penadur eu bwriad i ymweled â Llundain yn amser yr Arddangosiad; ac hefyd, bod dysgwyliad i gwrs dyddiol o agerfadau i redeg rhwng un porthladd yn yr Unol Daleithiau a Southampton, er trosglwyddo tramwywyr i ymweled â'r Palas Gwydr. Wrth ragweled, ynte, y cyffroad mawr yn y byd, ac analluogrwydd tref fach Llundain i lettya y myrddiynau a heidiant yno yn misoedd Mai a Mehefin; cynghorem ein cyfeillion i beidio ymddiried eu hunain yno, heb yn gyntaf barotoi y ffordd o flaen eu gwynebau, neu gymmeryd eu lletty gyda hwynt; o ran ein hunain, fe beidiwn ni.—*Star*.

---

## AWYRGYLCH MOESOL.

### AT OLYGYDD Y "FRONTIER GUARDIAN."

*Kanesville, Iowa, Chwef.* 24, 1851.

**Anwyl Syr**,—Trwy fod yn bresennol gyda eich cynnulleidfa chwi y ddoe, boddlonwyd fi yn fawr yn eich pregeth; a tharawwyd fi yn neillduol gan eich meddylddrych am y farn yn mrawdlys Duw, yr hwn a farna y byw a'r marw.

Beth! personau yn cael eu barnu—eu cymmeriad, eu hansawdd, eu hanrhydedd, a'u purdeb—wrth liwiau a chysgodau yr awyrgylch a'u hamgylchyna. Ydyw, y mae yn rhesymol, y mae yn gysson, y mae yn wir athroniaeth ei hun. Mor naturiol! Mor ddyrchafedig yw y meddylddrych! Yn lle cymmeryd amser

hir at ffurf-ymholiad, bydd Llys y Nef yn barnu gyrfa dyn, ei ymddygiad blaenorol, ei res o gydnabyddiaeth, a'i gyfeillion, trwy yr awyrgylch fydd yn ei amgylchynu: ac y mae pob gweithred o'i fywyd yn effeithio ar liwiau a chysgodau ei awyrgylch moesol, ac er y gall y weithred fod yn ddirgel, ei heffeithiau nis gellir eu cuddio.

Mor naturiol, meddaf! yr ydym yn barnu ansawdd a phurdeb llawer o sylweddau, trwy yr awyrgylch sydd yn amgylchynu y cyrff hyny, hyd y nod â'n synwyr a'n cynneddfau trwsgl ni; a pha gymmaint doethach yw Creawdwr Mawr pob peth i farnu gwaith ei ddwylaw ei hun?

Mae efe yn berffaith gydnabyddus â'r gwahanol raddau o awyrgylch; ac wrth olwg, y mae efe yn gwybod i ba rai o'r graddau hyny y perthyna pob corff neu sylwedd, ac o ganlyniad y mae yn barod i benderfynu wrth yr olwg.

Fe all yr awyrgylch fod yn danbeidiol, ac yn meddu dyscleirdeb a gogoniant yr enfys; neu fe all fod wedi ei dywyllu gan gysgodau amrywiol a gwahanol o euogrwydd, yn ol priodoleddau a chymhwysderau moesol y person neu'r bôd a amgylchynir ganddo. Yno yn wirioneddol y gwneir yn hysbys bob peth dirgel, ac ni all mwyach fod yn guddiedig. Rhagor ar fyr.

Yr eiddoch yn barchus,

EVERMONT.

---

## YR IAWN FATH O WRAIG.

[Allan o'r "Frontier Guardian."]

YR oedd Mr. ———, masgnachydd, yn awr yn byw yn Philadelphia, yr hwn a fu yn byw yn lled wastraffus, yn arfer rhoi swm o arian i'w wraig bob boreu dydd Llun, tuag at draul y tŷ yn ystod yr wythnos. Nid oedd byth yn dweyd dim ynghylch ei fusnes wrth ei wraig, ac hithau gan dybied ei gwr yn ddigon galluog i feindio busnes ei hunan, ni ofynai ddim iddo ynghylch hyny.

Yn mhen oddeutu pum mlynedd ar ol eu priodas, trwy ryw gamdrefn, a dyhirwch ei ysgrifenydd, darfu i Mr. ——— fethu yn ddisymmwth, a chrybwyllwyd am ei gwymp gyda "chydymdeimlad," ac megys pob peth felly, darfyddodd y cydymdeimlad gyda dweyd. Cadwodd y masgnachwr yr achos yn ddystaw, a'r wybodaeth gyntaf a gafodd ei foneddiges am dano oedd hanesyn a welodd yn y "Ledger." Yn fuan ar ol ciniaw, wedi cael

y fath newydd syn, dymunodd Mrs. ——— ar ei gwr i aros yn y parlwr am ychydig, gan fod ganddi rywbeth i ddweyd wrtho. Yna gadawodd yr ystafell, gan frysio i fyny y grisiau, a dychwelodd â beibl tlws iawn yn ei llaw. Gan ei gyflwyno i'w phriod, dywedodd,—" George, y dydd ar ol ein priodas, darfu i chwi roddi y llyfr gwerthfawr hwn i mi fel arwydd o'ch cariad, ac fel drych prisfawr i edrych ynddo mewn dydd o gyfyngder. Mae ei ymadroddion wedi bod yn werthfawr i mi; a chan fod eich gwynebpryd chwi heddyw yn arwyddo trallod, yr wyf yn ei ddychwelyd i chwi, fel y galloch gasglu oddiwrtho rywbeth i weini cysur i chwi mewn awr o gyfyngder." Yna gadawodd yr ystafell.

Agorodd y masgnachwr y llyfr yn ddiofal, a syrthiodd bil ariandy allan o hono. Cipiodd ef i fyny, ac edrychodd arno—bil deg dolar oedd. Agorodd y ddalen gyntaf, i pharhaodd i gael deg dolar rhwng pob ddwy ddalen yn mlaen hyd at ddechreu llyfr y Dadguddiad. Cafodd ei achub—gallai ddechreu business, canys yr oedd yn meddu naw mil o ddolars mewn arian.

Tynodd wrth y gloch, a gwaeth morwyn ei hymddangosiad.

"Ceisiwch gan eich meistres i ddyfod yma yn union," ebe y masgnachwr.

Y foneddiges a ufyddhaodd, gan ddyfod i'r ystafell â'r olwg arni yn rhywbeth rhwng gwenu ac wylo.

"Kate! Kate! pa le y cawsoch yr holl arian hyn?"

"Y rhai hyn yw cynnilion wythnosol eich tŷ chwi am y pum mlynedd diweddaf," oedd yr ateb. "Pob wythnos gosodais ddeg dolar, allan o'r ugain a roddech i mi, yn ariandy y Beibl, fel pan ddeuai dydd caledi, y buasai genym rywbeth i'n cadw rhag y blaidd."

"Yr ydych chwi yn angel, Kate," waeddai ei gwr boddhaol, gan ei gwasgu at ei fynwes.

Ac angel yw. A oes rhywun yn ammau?

---

## GWIRIONEDD.

GWIRIONEDD! braint arbenig yw dy gael,
A dedwydd a'th ennillodd di yn rhan;
Ei fynwes, nefoedd yw— tywysiad hael,
Uniondeb a'i llywydda yn mhob man.
Tra'r byd mewn rhyfel erch, yn ardal tyb,
Bydd ef yn dwr diogel, yn mwynhau

Gwir heddwch, uwch dylanwad barnau gwib,
Ac ymrysonau gwag, ymbleidwyr gau.
Mawr chwilio sydd am danat, drysor gwir,
Pob un yn sicr yn ei ffordd ei hun;
A'r oll gan groesed ag yw môr a thir
I'w gilydd;—brwydrant gydag halog lun:
Er it' ymddangos iddynt, cilio draw
Y maent; ni'th fynant lle yr wyt i'th gael;
Nis meiddiant, gan awch rhagfarn, ysgwyd llaw
A thi,—nac edrych yn dy wyneb hael.
Ond y mae rhai a wyddant nerth y fraint,
O feddu dy ddylanwad swynawl di
Ar eu meddyliau; gelwir hwynt yn Saint,
Gwrthrychau cas y byd, a'i anwar lu:
Ond er y dirmyg, meddant drysor a'u
Tragwyddawl ddedwyddola yn y nef;
Pan fyddo'r byd yn eirias boeth, mwynha
Y rhai'n wynfydawl nawdd ei gariad Ef.

*Dowlais.* D. BOWEN.

---

## PENNILLION.

*Ar y chwechfed o Ebrill, pan yn croesi y mynydd sydd rhwng Ffestiniog a Llanfrothen, ac yn myfyrio ar y pethau oedd yn perthyn i'r dydd, arweiniwyd fy meddwl fel y canlyn:—*

MAE eglwys Iesu heddyw mewn oedran priod llawn,
Er iddi trwy ei hie'nctyd i oddef llawer iawn;
Fe gollodd, do, ei Phrophwyd pan yn ei bieuanc oed,
A chollodd, do, ei Dinas, a chysgodd yn y coed.

Bu'n hir yn archolledig, a'i gwaed yn lliwio'r llawr,
A'i gâlon, pan ei gwelent, a hoffent hyny'n fawr:
Bu llawer iawn yn gwledda ar loesion eglwys Dduw;
Bydd dïal am y traha mor wir fod Iesu'n fyw.

Och'neidiai'n brudd ei chalon, heb arfyn yn ei llaw,
Gan edrych ar ei meibion yn feirwon yma a thraw;
Ac er yr holl greulonder mae hono etto'n fyw,
Yn ymdaith mewn grymusder, a'i gwisgoedd oll yn syw.

Bu hono fel ei Phriod heb le ro'i phen i lawr,
Tylotach na'r llwynogod, neu'r adar fach neu fawr:
Ei ffydd pan yn ei hadfyd fu'n gadarn ynddo Ef,
A'i gobaith chwaith ni chollodd, mae'n angor yn y nef.

Mae ganddi 'nawr ryw gartref rhagorol iawn yn wir,
Un cadarn, rhwng mynyddoedd, mewn ffrwythlon hyfryd dir;
A denfyn 'nawr genadon i bedwar ban y byd,
I gynnull y rhai gonest i'r ddedwydd Gannan glyd.

Fe ffurfiwyd hon yn Dalaeth yn ol bwriadau Duw,
Mae'n cynnyg iachawdwriaeth i bawb o ddynolryw;
Fe ffurfiodd hon gymdeithas rhagorol iawn mewn pryd,
I gludo ei thylodion o bedwar cwr y byd.

Ar gynnydd â'r freniniaeth, nes cyrhaedd dros y byd,
A breniniaethau dynion ddarfyddant oll ynghyd.
Y deyrnas Daniel welodd, ac awr ei chodiad hi,
Ac hefyd ei holl urddas, a'i gwychder mawr a'i bri.

Na foed i draddodiadau eich rhwystro i'r deyrnas hon;
Arwyddion yr amserau ymrithiant ger eich bron;
Er gwaeddu "heddwch, heddwch," ni welir mo'no mwy,
Yn Babel na ddysgwyliwch ond cleddyf a phob clwy'.

*Llwynygell.* DAVID ROBERTS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

ANRHYDEDD.—Yr unig ffordd i gyrhaedd anrhydedd, yw i ddyn fyw mewn gwirionedd yr hyn y dymuna i ereill dybied ei fod.

GWAITH dynion ieuainc yw cynnull gwybodaeth, a gwaith yr hen yw ei defnyddio; a gellwch fod yn sicr nad oes un dyn a ddichon roddi gwell cyfrif o'i amser na'r hwn sydd yn ymdrechu yn feunyddiol i wneyd ei hunan yn well.

ANGEU.—Nid yw angeu amgen nâ'n troad drosodd o amser i dragywyddoldeb; arweinia i anfarwoldeb, ac y mae hyny yn ddigon o daledigaeth am ei ddyoddef.

CYFEILLGARWCH.—Nid oes dim yn fwy cyffredin nâ phroffes o gyfeillgarwch; er nad oes nemawr yn gwybod ei ystyr, a llawer llai yn ateb ei ofyniadau. Wrth siarad am dano yr ydym yn dangos ein hunain yn fawrion; ond wrth chwillio i mewn iddo, yr ydym yn canfod ein diffygion; a phan fyddom yn ymdrechu yn brysur tuag ato, rhaid i ni orfodi lliaws o anhawsderau.

---

APWYNTIAD.—Mae y brawd Robert Campbell, o'r America, i fod yn henuriad teithiol yn Nghynnadledd Orllewinol Morganwg.

"J. D."—Mae yr "Achos Mawr Cyntaf" yn barod er ys tro.

TALIADAU O EBRILL 17 HYD EBRILL 30.—Sir Fynwy, £10; Morganwg Orllewinol, £7 17s; Sir Fflint, £1 10s; Dowlais, £1 13s 1c; Merthyr, £1 8s 8c; Ynysgou, 2s; Liverpool, £1 0s 9c. Cyfanswm, £23 11s 6c.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 10.] MAI 17, 1851. [PRIS 1g.

## HENRY WILKINS ETTO.—LLYTHYR ODDIWRTHO AT Y LLYWYDD WILLIAM PHILLIPS.

*St. Louis, Ebrill* 12, 1851.

ANWYL FRAWD PHILLIPS,—Yr wyf wedi cael cyfleusdra i ysgrifenu yr ychydig linellau hyn atoch, gan obeithio y bydd iddynt eich cael chwi mewn cyflawn iechyd, megys y maent yn fy ngadael i yn bresennol, i Dduw y byddo y diolch.

Derbyniasom eich llythyr ar yr 8fed dydd o Ebrill, ac yr oedd yn llawenydd genym glywed oddiwrthych. Darllenais y llythyr fy hun; ac ynghylch y peth ag oeddech am gael gwybod genyf fi, sef am y llythyr a ddanfonais at fy nhad, y mae yn eithaf gwirioneddol fy mod wedi anfon llythyr ato, ac fy mod i wedi galw Pratt a chwithau, a llawer ereill, yn dwyllwyr: nid gwiw i mi wadu hyny, ond cyffesu. Anwyl frawd Phillips, y rheswm i mi ysgrifenu oedd, a'ch galw chwi yn dwyllwyr, o herwydd mai yn fy ngwylltineb yr ysgrifenais hyny, ac wrth wrandaw ar bob hen chwedlau ag oeddwn yn glywed yn y lle hwn, y rhai wyf wedi eu profi yn hollol anwireddus. Y mae yn wir mai trwy lawer o orthrymderau y mae myned i mewn i'r bywyd. Mae yn wir fy mod i heb waith nac arian yr ychydig amser ar y cyntaf, ac wedi gweled llawer o *ups and downs* oddiar pan wyf wedi dyfod o gartref, pa rai oedd yn chwith iawn i mi ar y cyntaf, ond yn awr yr wyf yn cyfrif y cwbl yn lawenydd i gael dyoddef o achos Crist a'r efengyl. Yr wyf wedi cymmeryd fy lle yn yr eglwys er

pan wyf yma, ac yr wyf yn gwybod mai hon yw crefydd Iesu Grist; ac y mae fy mhenderfyniad yn awr yn fwy nag erioed i fyned yn y blaen gyda gwaith yr Arglwydd, ac i adeiladu teyrnas ei anwyl Fab ar y ddaear yn y dyddiau diweddaf. Nid wyf yn meddwl byth i gefnu ar y grefydd hon, ag sydd wedi dwyn cysur a llawenydd i mi ganwaith, er fod ysbrydion y tywyllwch, ynghyd â'u dylanwadau, yn treio fy rhwystro yn aml; ond diolch i Dduw fod nerth yn ol y dydd, a chymhorth yn ol yr achos, mewn addewid i'r sawl a gadwo ei orchymynion ef. Mae yn ddrwg iawn genyf fy mod wedi bod yn rhwystr i neb, a'm bod wedi ysgrifenu am danoch wrth fy nhad; ond yr oedd yn rhy ddiweddar i edifarhau wedi ei anfon, mi leicswn fod yn ddoethach. Yr wyf yn dymuno arnoch chwi y gwnewch faddeu i mi; a dyma y llythyr at eich gwasanaeth chwi. Yr wyf yn anfon llythyr at fy nhad yr un pryd â hwn, i friwio a diffodd dylanwad y llythyr a anfonais ato. Gan ddymuno y gwnaiff yr Arglwydd faddeu i mi am y llythyr a anfonais ato, a rhoddi mwy o'i Ysbryd i mi nag erioed o'r blaen, a mwy o ddoethineb a phenderfyniad nag erioed. Y Duw grasol a faddeuo i mi am fy mod wedi bod yn rhwystr i neb, a gobeithio y gwnewch chwithau hefyd, dyna yw fy ngweddi. Anwyl frawd Phillips, yr wyf yn myned tua Dyffryn y Llyn Halen Fawr y *spring* hyn, yn *ddriver* i hen wraig o Gaerdyf, o'r enw Mrs. George. Y mae ei meibion yn pallu dyfod yn mlaen gyda hi i'r Dyffryn, ac y maent wedi troi yn lled ddrwg yn wir. Yr wyf fi yn dymuno cael gweled y Dyffryn, fel ag y caf ddysgu y gyfraith yn fanylach, a derbyn fy nghynnysgaethiad; fel y byddaf etto yn fawr yn ei deyrnas, mewn amser dyfodol. Dymunaf y bydd i chwi basio heibio y colliadau sydd yn y llythyr hwn, yn gymmaint nad wyf yn gyfarwydd ag ysgrifenu yn Gymraeg fel Saesneg. Cofiwch fi at David Morgan a'i wraig, a'm perthynasau, a'r holl Saint. Hyn yn fyr oddiwrth, Eich brawd yn yr efengyl,

HENRY WILKINS.

[Mae yr uchod yn gopi cywir o'r llythyr; ac os oes rhywun yn ammau, gall gael gweled y gwreiddiol trwy alw yn ein swyddfa.

Erfynia y Llywydd Phillips ar y Parch. James Wilkins i gyhoeddi y llythyr arall yn y *Bedyddiwr*, os gwel yn dda, fel y gallo y wlad weled yn mhellach ynghylch "Siomiant Mormoniaeth." Mae genym lythyr arall o'n blaen, yr hwn a dderbyniodd y Llywydd Phillips yr un dydd, oddiwrth Morgan Jones (gynt o'r Mynydd, Merthyr), o'r un lle, dyddiedig Ebrill 10, 1851, ac wedi ei ysgrifenu gan Henry Wilkins ei hun, yr hwn lythyr a ellir ei weled hefyd genym ni. A ganlyn sydd ddyfyniad o hono:—]

"Y mae Henry Wilkins yn myned i ddyffryn y mynyddoedd y gwanwyn hwn, gyda hen wraig o Gaerdyf, o'r enw Mrs. George. Y mae Thomas Lewis, Howell Williams, a Henry Wilkins, a minnau, yn gweithio gyda'n gilydd, ac yn byw gyda'n gilydd. Gallaf ddweyd gymmaint â hyn am y brawd Henry Wilkins, ei fod heb weled anghen pryd o fwyd, na swllt yn ei boced, er pan y mae gyda mi, a hyny er Nadolig. Y mae yn frawd da er pan y mae yma, ond yn ei wylltineb y danfonodd lythyr at ei dad."

---

## CYNGHORION I LYWYDDION Y CYNNADLEDDAU, HENURIAID TEITHIOL, A'R EGLWYS YN GYFFREDINOL.

ANWYL FRODYR,—Eich gorchwyl cyntaf chwi pan yn ymweled â changenau, ydyw edrych i mewn i'r llyfrau, er gweled os yw pethau yn cael eu gosod i lawr mewn trefn, sef, bedyddio, cadarnhau, ac ordeinio i wahanol swyddau. Hefyd, gofalu fod plant y Saint, os byddant dan wyth mlwydd oed, yn cael eu bendithio gan yr henuriaid, ar y Sul yn nghyfarfodydd y Saint, ac nid ar un amser arall, oddieithr mewn amgylchiadau, megys afiechyd, tlodi, &c.; a gofalwch fod oedran y plant a fendithir, a'u henwau, ac enwau eu tadau, yn nghyd ag enwau yr henuriaid a'u bendithiasant, yn cael eu gosod yn rheolaidd ar Lyfr yr Eglwys, a'r dydd o'r mis y gweinyddwyd yr ordinhad. Yna, edrychwch i mewn i bob peth, megys taliadau am lyfrau, &c., gan beidio â chaniatâu i'r cangenau fyned i ddyled. Yna, byddwch yn rhydd i ddysgu ac i bregethu, fel ag yr arweinir chwi gan yr Ysbryd Glân; a mynwch weled y pethau hyn yn cael eu cario yn mlaen yn drefnus.—Ystyria rhai hwynt yn bethau bychain iawn, ond yr wyf fi yn dywedyd yn enw yr Arglwydd, mai y pethau mwyaf ydynt; ac y mae yn golled mawr i chwi esgeuluso eich

dyledswydd yn y pethau hyn. A chofied pob ysgrifenydd sydd wedi ei apwyntio, i gadw pob cyfrifon yn iawn, o herwydd y mae angylion y nefoedd yn edrych arnoch bob amser; cofiwch y cewch chwi eich dyrchafu yn nheyrnas Dduw, os bydd i chwi gadw pob peth yn iawn; na hudiwch am bregethu, oddeithr fod amgylchiadau yn caniatâu; ond bydded eich myfyrdod chwi ar y llyfrau; rhoddwch weithredoedd pawb i lawr yn gywir; canys y mae y dydd yn dyfod, pan agorir y llyfrau sydd yn y nefoedd ac ar y ddaear! Ac O! frodyr, ufyddhewch i gynghor Duw, ac yna cewch eich bendithio yn fawr ganddo. Bydded i'r henuriaid ddysgu y Saint i fedyddio eu plant, pan ddelont yn wyth mlwydd oed; canys y mae Duw yn eu galw hwy yn gyfrifol yn yr oedran uchod. Gofyna rhai "Pa beth fydd dyben y bedydd hwnw?" atebaf finnau, mai bedydd er maddeuant pechodau yw. A glywsoch fod Duw wedi dadguddio dau fath o fedydd? Naddo erioed. Wel, darfydded pob siarad ofer; ac os oes rhyw un yn methu deall, gweddied ar Dduw am gael goleuni ar y pwnc. Dywed ambell i fam fod ei phlentyn yn naw mlwydd oed, ond y mae arni ofn y gwna ei phlentyn dynu gwarth ar yr achos, pe bai yn cael ei fedyddio, o herwydd ei fod yn chwarae cymmaint, ac ei fod mor ddrwg, onide buasai wedi cael ei fedyddio. Dywedaf finnau, goreu po cyntaf ei fedyddio ef; ni ddaeth neb yn dda erioed ond trwy fedydd; a gadewch chwi i'ch plant i chwarae ychydig wedi eu bedyddio; byddai hyny yn well nag iddynt fod yn glaf yn y gwely; ond cofiwch eu dysgu pa beth yw dyben bedydd. Mewn perthynas i'r ordinhad o swper yr Arglwydd, nid oes neb yn deilwng o hon ond y rhai sydd wedi eu bedyddio. Y mae wedi bod yn ymarferiad yn y wlad hon i roddi o'r bara ac o'r gwin i blant, neu fabanod, ond nid yw hyny yn iawn. Un dyben o'i hymarferiad yw, bod maddeuant pechodau yn cael ei roddi i bob un sydd yn ymwneyd â hi yn onest; ac nid oes pechodau ar blant bach; gan hyny, ymdreched rhieni plant i beidio a rhoddi ond i'r rhai a fedyddiwyd. Y mae wedi bod yn ymarferiad hefyd yn y dywysogaeth hon, i athrawon ac offeiriaid lywyddu cyfarfodydd pan fyddai henuriaid yn bresennol. Ond o hyn allan yr offeiriadaeth uchaf sydd i lywyddu, yn mhob cyfarfodydd; a bydded i'r athrawon a'r diaconiaid bob amser, i ymweled â'r Saint, a'u dysgu yn eu tai. Gwel "Athrawiaeth a'r Cyfammodau," tudalen 65, gwahanran 8.

Dysgwch yr aelodau i ddarllen y llyfrau canlynol:—Llyfr Mormon, Athrawiaeth a Chyfammodau, Udgorn Seion, *Star*, a'r holl draethodau ereill, os medrant, neu ymdrechant at hyny. Rhwystrwch ormodedd o chwerthin mewn tai, chwedlau, a phob siarad ofer; mae gormodedd o ganu yn niweidiol. Yr wyf yn ymweled â llawer o gangenau ar hyd y wlad, a'r peth cyntaf ar ol i'r cyfarfod derfynu, yw canu. Yr wyf yn cael fy rhwystro am awr i ddweyd gair, pan fyddo gwir angben i roddi cynghorion i bersonau. Mae yn rhaid i mi wrando ar y canu, ac erbyn hyny bydd yn bryd myned i'r gwelyau. Yr wyf yn hoffi clywed canu gystal â neb yn y wlad; ond y mae amser at bob peth, ac yn y cyfarfodydd y mae amser canu, neu yn yr ysgol gân, ac ar amserau ereill, pan fydd amgylchiadau yn caniatâu. Dysgwch bawb i fyned i'w gwelyau yn gynnar, er mwyn eu hiechyd, ac er derbyn doethineb, yr hyn sydd yn orchymyn yr Arglwydd i bawb. Mae yr offeiriaid a'r athrawon yn fynych yn cael eu rhwystro i weinyddu yn eu swyddau, o herwydd y canu, pan yn ymweled â thai yr aelodau, pan y dylai pawb ddystewi ar ddyfodiad y rhai hyn i mewn; o herwydd y maent yn dyfod yn enw yr Arglwydd, i weinyddu yn eu swyddau. Bydded i'r Duw grasol eich bendithio chwi, ynghyd â'r holl Saint, yw fy ngweddi yn enw Iesu Grist. Amen.

WM. PHILLIPS.

---

## AT OLYGYDD "UDGORN SEION."

MR. GOL.—Yr ydwyf yn gofyn eich caniatâd am i'r ychydig eiriau canlynol i gael yr anrhydedd o ymddangos yn eich rhagorol UDGORN, yr hwn sydd yn gyhoeddiad rhinweddol, os gwneir yr iawn ddefnydd o hono:—

Yr ydwyf wedi treulio rhai blynyddau mewn terfysg meddwl, a hyny mewn perthynas i egwyddorion crefyddol, gan ymdrechu yn y lle cyntaf, i gael allan brawf o fodoliaeth y Bod ardderchog ag y mae yr ysgrythyrau yn sôn am dano, sef Duw. Yn nesaf, pa fath Dduw ydyw, ynghyd â pha beth yw ei ewyllys tuag at ddynion, neu ddynolryw yn gyffredinol; ond, trwy hir ymresymu â mi fy hun, a derbyn annogaethau trwy gadernid a chyssondeb ymresymiad ereill, ynghyd ag ymddangosiad hardd a chywrain y greadigaeth, yr ydwyf wedi cael fy narbwyllo i

gredu y priodoldeb o fodoliaeth Duw, yr hwn sydd goruwch pawb mewn gallu, mewn gwybodaeth, mewn cyfiawnder, mewn santeiddrwydd, yn helaethach ac yn wresogach ei gariad, ac yn amlach ei drugaredd na neb arall; o ganlyniad, mae y gwrthrych goruchel hwn yn deilwng o gydnabyddiaeth pawb trwy eu hymostyngiad iddo, gan ei addoli mewn ysbryd ac mewn gwirionedd; trwy wrandaw arno, a chadw ei orchymynion—ystyried ei ddeddfau--cofleidio ei ordinhadau, a'u hanrhydeddu oll trwy roddi ufydd-dod perffaith iddynt, gan ymlawenhau yn y cyfleusderau a gaffont i wneuthur hyny. Wedi teithio hyd yma mewn golygiadau am y person dwyfol, ynghyd a'i briodoliaethau, mi a gefais annogaeth gan amrywiol o bersonau, y rhai oeddynt o gymmeriadau crefyddol, i chwilio yn fanwl y llyfr santaidd a elwir y Beibl, neu yr Hen a'r Newydd Destamentau, am fod y llyfr hwnw wedi ei lefaru gan ddynion santaidd, o dan gynhyrfiad a chyfarwyddyd doethineb Ysbryd Duw; a'i fod yn cynnwys ei ewyllys tuag at ddynion yn gyffredinol yn eu hamrywiol raddau, ac hefyd yn dadguddio dyledswydd pob dyn a dynes, yn rhieni ac yn blant, tuag ato, fel eu Crewr a'u Cynnaliwr, a thuag at eu cyd-ddynion, a thuag atynt eu hunain, a bod yr hyn oll ag y mae Duw yn ei ofyn gan ddynion, neu yn gorchymyn ei wneuthur, wedi ei ysgrifenu a'i egluro yn y llyfr hwnw. Erbyn hyn, yr oeddwn yn awyddus iawn i chwilio i'r llyfr, fel trwy gyfrwng hwn y buaswn yn cyrhaeddyd gwybodaeth helaeth am ansawdd y person dwyfol, pa un yr oeddwn newydd gredu yn ei fodoliaeth. Yn y penderfyniad yma, er gwybod ewyllys Duw, ymaflais yn y llyfr, ac wedi ei agoryd dechreuais ei ddarllen a'i chwilio yn ddiwyd er dwyn fy amcan oddiamgylch; ond wrth darllen y llyfr, mi a welais yn eglur fod yr ysgrifenwyr santaidd yn darlunio y Bod dwyfol hwn, dan y fath gymmeriadau rhagorol, nes i mi farnu yn union ei fod yn wrthrych tra theilwng o'm sylw. Dywedant am dano ei fod yn Dduw ag sydd yn Hollalluog, yn medru gweithredu yn ol ei ewyllys ei hun, bydded y gwrthwynebiadau mor gryfed ag sydd yn bosibl,—y mae yn gryfach na'r cryf arfog, ac nid yw yn bosibl i un gelyn a ymgyfoda yn ei erbyn i lwyddo byth i'r graddau a'i rhwystra i weithredu ei ewyllys; o herwydd y mae yn Ben ac yn Arglwydd ar y cwbl, a thrwy ei ben arglwyddiaeth y mae ganddo awdurdod i wneuthur fel y myno â phob dyn, â phob creadur, ac â phob peth: oblegid gwaith ei

ddwylaw ef yw y cyfan sydd yn weledig ac yn anweledig, yn y nefoedd ac ar y ddaear, y bodau wybrenol yn eu gwahanol gylchrediadau a'u cyssylltiadau—cynnwysiad y moroedd—a than-ddaearolion bethau,—y cyfan i gyd ydynt eiddo yr Arglwydd Dduw; megys y dywedir gan y prophwyd Esaiah, "Myfi yw yr Arglwydd sydd yn gwneuthur pob peth, yn estyn y nefoedd fy hunan, yn lledu y ddaear o honof fy hun: yn diddymu arwyddion y rhai celwyddog, ac yn ynfydu dewiniaid; yn troi y doethion yn eu hol, ac yn gwneuthur eu gwybodaeth yn ynfyd;" megys y dywedodd y Salmydd—"Eiddo yr Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder;" gan hyny, trwy fod yr oll yn waith ei ddwylaw ef, efe a all wneuthur â phawb ac â phob peth fel y mae yn ewyllysio, a'i ddoethineb yn dysgleirio ar ei holl weithredoedd; etto, er ei fod yn alluog, y mae yn gyfiawn, ac yn ewyllysio gwneuthur cyfiawnder â phob dyn: "ni wnaiff yr Arglwydd gam â gwr yn ei fater," oblegid "cyfiawn yw yr Arglwydd yn ei holl ffyrdd, a santaidd yn ei holl weithredoedd," medd yr ysgrythyr. Hefyd, nid yn unig y mae Duw yn alluog ac yn gyfiawn, ond y mae yn drugarog, ac yn llawn o dosturiaethau tuag at bob dyn,—yn estyn ei drugaredd o ddydd i ddydd, er diwallu anghenrheidiau ei holl greaduriaid; yr hyn sydd yn galw yn uchel ar bob dyn i ddarbwyllo ei hun i gredu yn modoliaeth Duw, a roddi addoliad gwirioneddol iddo yn ol ei ewyllys ef, gan ystyried fod ei ben-arglwyddiaeth yn ei alluogi i ddysgu dynion i'w addoli yn ol ei gynllun ei hun.

Wedi dyfod fel hyn i gredu yr anghenrheidrwydd o fod yn wasanaethwr i Dduw, er bod yn gymmeradwy ganddo, mi a deimlais dueddiad ynof am fod yn wr crefyddol, gan feddwl fod gwir grefydd yn deilwng o wasanaeth i Dduw. Yn ngwyneb y tuediad yma, mi a aethym i chwilio yr ysgrythyrau yn helaethach, pa ryw orchymynion oedd ynddynt i ddynion i'w cyflawni er rhoddi boddlondeb i Dduw, a gogoniant i'w enw; ac wrth chwilio, mi a gefais allan fod y gorchymynion canlynol yn cael eu cyfeirio at ddynion yn gyffredinol, sef fod yn rhaid iddynt gredu yn Nghrist, edifarhau am eu pechodau, cael eu bedyddio â dwfr ac â'r Ysbryd Glân; caru Duw â'u holl galon, â'u holl enaid, â'u holl nerth, ac â'u holl feddwl: bod yn rhaid hefyd i ddyn garu ei gymmydog fel efe ei hun, gwneuthur daioni i bawb, yn enwedig i deulu y ffydd; caru ei elyn, bod yn

drugarog, yn dangnefeddus, yn sychedig am gyfiawnder; yn heddychlawn a phob dyn; peidio bod yn nyled neb o ddim; peidio caru ar air ac ar dafod yn unig, ond mewn gweithred, ac mewn gwirionedd; a gwneuthur i arall fel y dymunai i arall wneuthur iddo yntau; gorchfygu drygioni trwy ddaioni; peidio lladd na lladrata, na thyngu, na godinebu, na chablu, na meddwi, na dim o'r cyfryw, ond byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol, gan ddywedyd y gwir bob amser, a chasâu pob celwydd, heb ddwyn cam-dystiolaeth yn erbyn cymmydog nac estron; peidio ymddial, ond rhoddi lle i ddigofaint; attal ei dafod rhag llefaru ynfydrwydd; ychwanegu at ffydd rinwedd, at rinwedd wybodaeth, at wybodaeth cymmedroldeb, ac at gymmedroldeb amynedd, ac at amynedd dduwioldeb, ac at dduwioldeb garedigrwydd, ac at garedigrwydd brawdol gariad; gan hysbysu hefyd fod yn rhaid gadael heibio genfigen a malais, a phob twyll a rhagrith, a gwrando ar orchymyn Crist, yr hwn sydd fel y canlyn—"Llewyrched eich goleuni gerbron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd." Yn ol yr ysgrythyrau, nid oes neb wrth fodd ewyllys Duw, ond y rhai sydd yn ufyddhau i'r gorchymynion a nodwyd.

Yn awr, Mr. Golygydd, os byddwch mor gymmwynasgar â rhoddi gwybodaeth i mi, trwy gyfrwng eich UDGORN, a ydyw y gorchymynion uchod, y rhai sydd yn weledig yn yr ysgrythyrau, yn dal cysylltiad â dynion yn yr oes a'r genedlaeth hon? Os ydynt, mi a ddymunwn arnoch i egluro ychydig arnynt, er cyfarwyddyd i mi pa fodd i weithredu er eu cyflawni. Ac os oes rhyw enwad o ddynion ar wyneb y ddaear yn cyd-ymffurfio â'r gorchymynion sydd wedi eu nodi, byddwch mor dda â'm hysbysu, fel y gallwyf yn uniongyrchol, gan gymmaint yw fy awydd am fod yn wr crefyddol, gynnyg fy hun yn aelod rheolaidd o'u cymdeithas rinweddol a duwiol. Dymunwn hefyd i gael gwybod pa le yw Babilon? a phwy yw y Babiloniaid? a pha le yw Seion, lle y dywedwch fod gwaredigaeth i'w chael rhag y pläau sydd i ddyfod ar y ddaear, ynghyd â'r ffordd i fyned tuag yno.

T. J.

[Yr ydym yn cydsynio â dymuniad ein gohebydd, ac yn ei ateb fod y gorchymynion a enwodd yn perthyn cymmaint i'r genedlaeth hon â'r genedlaeth i ba un y rhoddwyd hwynt. Y ffordd i

gredu yn Iesu Grist, yw credu mai gwirionedd parhaus yw pob peth a lefarodd; a'r ffordd i edifarhau, yw gwneyd penderfyniad i wasanaethu Duw o hyn allan, a pheidio meddwl am wylo a gwneyd llawer o ystumiau—gellir gwneyd yr oll sydd yn angbenrheidiol mewn ychydig fynydau. Y ffordd i gael bedydd iawn, yw cymmeryd ein harwain gan was awdurdodedig yn nheyrnas Dduw, sef un a fyddo yn tystio hyny, ac ar yr un pryd yn addaw dawn yr Ysbryd Glân i gadarnhau ei eiriau. Ni allai hwnw barhau i dwyllo yn hir, canys fe fyddai ei eiriau yn cael eu profi: gan hyny, cymmerer ef ar ei air; ac os profir ef yn dwyllwr, gellid chwilio am y gwas gwirioneddol nes ei gael. Eithr ni feiddia twyllwyr addaw y ddawn hon; dewisant ddweyd nad oes ei heisieu, er mwyn peidio cael eu dal yn twyllo. Yna, y peth nesaf wedi derbyn bedydd yw ufyddhau i'r holl orchymynion a nododd ein gohebydd, gan ymattal oddiwrth bob peth sydd yn ddrwg, a glynu wrth bob peth sydd yn dda. Y mae pob dyn, fynychaf, yn dueddol i ryw bechod sydd yn barod i'w amgylchynu; tra mae un yn chwannog i ddiota, mae y llall yn chwannog i odinebu—tra mae un yn chwannog i ladrata, mae y llall yn chwannog i segurdod—tra mae un yn chwannog i fod yn wammal ac ansefydlog ei feddwl, mae y llall yn chwannog i fod yn anonest, gan beidio talu ei ddyled a gweithredu cyfiawnder. Fel hyn y mae gan bob dyn ryw bethau i'w gorchfygu; ac i'r graddau y byddo yn eu gorchfygu, i'r graddau hyny y bydd yn perffeithio ei hunan. Y mae gallu gan bob dyn i orchfygu pob peth a'i cyfarfydda; onide ni ellid ei gondemnio am beidio. Y mae aelodau eglwys Dduw yn blant sydd mewn ysgol, lle y gallant gael eu dysgu yn mhob peth; ac wedi y delont oll yn "wr perffaith," dyna pan y gellir dangos pa enwad o bobl sydd wedi cyflawni holl orchymynion Duw. Os yw ein gohebydd am ymuno ag enwad felly, rhaid iddo ymuno â hwynt tra yn eu hanmherffeithrwydd, a thra yn ymdrechu cyflawni y gorchymynion perffaith sydd wedi eu rhoddi iddynt. Enwad felly yw Saint y Dyddiau Diweddaf; ac yn eu heglwys hwy yn unig y rhaid i ddyn weithio allan ei iachawdwriaeth ei hun, cyn y gall fod yn gadwedig. Am ychwaneg o hysbysiaeth ynghylch y pethau blaenorol, cyfeiriwn ein gohebydd at y gwahanol draethodau ag ydym wedi gyhoeddi.—Yn nesaf, ymdrechwn ddweyd pa *le* yw *Babilon.* Mae lle Babilon mor eang â llywodraeth Mam puteiniaid a Ffieidd-dra y Ddaear, yr hon a ddarlunir yn Dad. xvii, megys "y butain fawr sydd yn eistedd ar ddyfroedd lawer" (adn. 2), "y rhai ydynt bobloedd a thorfeydd, a chenedloedd ac ieithoedd" (adn. 15). Y wraig neu y butain dan sylw, yw y ddinas fawr (sef Babilon, neu gymmysgedd) sydd yn teyrnasu ar freninoedd y ddaear (gwel adn. 18). Hyd yn hyn, ymdengys fod teyrnasiad y wraig yn ysbrydol, yr un fath ag y mae teyrnasiad Seion; ond yn fuan caiff rhyw ddinas ardderchog ei mabwysiadu i'r wraig, pan y daw ei llywodraeth yn fwy gweledig ar freninoedd y ddaear. Ystyriwn mai Babilon fydd y ddinas

fwyaf ei marsiandiaeth ar y ddaear, a dywedwn y bydd ei *lle* ar fin y môr; oblegid dyweda yr ysgrythyr, " A phob llonglywydd, a phob cwmpeini mewn llongau, a llongwyr, a chynnifer ag y sydd â'u gwaith ar y môr, a safasant o hirbell, ac a lefasant, pan welsant fwg ei llosgiad hi, gan ddywedyd, Pa ddinas debyg i'r ddinas fawr hono?" Mae yn eglur mae y Babiloniaid yw y rhai a lywodraethir gan y butain fawr, ag y sydd i fod yn feddw ar waed y saint; a ffoi o Babilon, yw ffoi o'i chyffiniau llywodraethol, yn gystal ag o'r ddinas ei hun.—Yn nesaf, gofyna ein cyfaill, *pa le yw Seion*? Lle mae y " pur o galon" wedi myned; a'r lle y maent hwy wedi myned iddo, yw " mynydd uchel" yn ystlysau y gogledd. Mae yr efengyles Seion, yn ol Esay xl, 9, i ddringo rhagddi i fynydd uchel; ac y mae yn gweuthur hyny yn bresennol, trwy ymfudo i Ddinas y Llyn Halen Fawr, lle mae " y ddinas wedi ei gostwng mewn lle isel." Nid y ddinas hon fydd y Jerusalem Newydd, neu ddinas Seion, eithr un o'i hestynfeydd, lle y mae merch Seion yn bresennol wedi myned i godi tŷ i enw yr Arglwydd, ac i efengylu hyd eithafoedd y ddaear. Yn Seion y bydd ymwared, pan fyddo eiddigedd yr Hollalluog yn cael ei arllwys ar y ddaear. Am hyny, brysiwn bawb tuag yno; canys " Nyni a iachasom Babilon, ond nid aeth hi yn iach; gadewch hi, ac awn bawb i'w wlad: canys ei barn a gyrhaedd i'r nefoedd, ac a ddyrchafwyd hyd yr wybrau" (Jer. li, 9). Y ffordd i fyned, yw trwy gyfarwyddyd gweision Duw; and " where there is a will, there is a way."—GOL.]

---

## TESTAMENT Y DEUDDEG PATRIARCH, SEF MEIBION JACOB.

[*Parhad o dud.* 141.]

### TESTAMENT GAD.

***A wnaeth efe i'w blant wrth farw, ynghylch Cenfigen.***

Gwrando ar Gad, a gochel gynhen,
Na'd i'th fynwes falais filen;
Godde' gam, na ddygn ddigia,
Duw ei hun y cas-beth gospa.

COPIAD o dystiolaeth Gad, ac o'r pethau a lafarodd wrth ei blant, yn y ganfed a'r seithfed flwyddyn o'i fywyd, gan ddywedyd,

Myfi oeddwn y seithfed mab i Jacob, ac yr oeddwn yn gyfarwydd a chryf i fugeilio defaid; yr oeddwn yn cadw y praidd y nos, ac os deuai un llew, neu lewpard, blaidd, neu arth, neu ryw fwystfilod gwylltion ar ein praidd, mi a redwn ato, ac a'i lladdwn.

Joseph hefyd a fu gyda ni yn porthi y defaid ynghylch deng niwrnod ar hugain, a hwn ydoedd dyner, ac o herwydd gormod gwres, a syrthiodd yn glaf, ac a aeth adref at ein tad i Hebron, yr hwn a'i llettyodd ef ar ei ben ei hun, am ei fod yn ei garu ef.

A Joseph a ddywedodd wrth ein tad fod meibion Bilha yn afradloni ei dda ef yn Zilpha, ac yn gwneuthur difrod o honynt heb wybod i Juda a Reuben; canys gwybod yr oedd ef ddarfod i mi achub oen allan o safn yr arth, ac a leddais yr arth, ac o herwydd nas gallai fyw (a'r peth a'm blinodd i) ni a'i lladdasom, ac a'i bwytasom, ac efe a ddywedodd hyny i'n tad; a'n brodyr a anfoddlonodd yn ddirfawr am ei waith ef, ie hyd y dydd y gwerthwyd ef i'r Aipht. Ac ysbryd cenfigen oedd ynof fi gymmaint, fel nad allwn gael yn fy nghalon wrandawiad i Joseph siarad, nac edrych arno, o herwydd iddo achwyn arnom yn gyhoeddus am fwyta yr oen, heb i Juda fod gyda ni; i fod yn fyr, efe a wnai i'n tad gofio pob peth a ddywedai wrtho.

Ond yn awr, fy mhlant, yr wyf yn cydnabod fy mhechod, fy mod yn fynych yn chwennych ei ladd ef, o herwydd casineb oedd genyf o'm calon iddo ef, ac yr oeddwn yn hollol heb drugaredd tuag ato ef, a'r achos o'm mawr genfigen iddo, oedd o herwydd ei freuddwydion ef; am hyny, mi a fynwn ei ddyfetha ef, fel y pawr yr ych wellt-glas y ddaear; ac am hyny Juda a minnau a'i gwerthasom ef i'r Ismaeliaid, am ddeg ar hugain Gildarne, yr hyn yw chwe phunt, o ba rai, nyni a gadwasom ddeg yn ddirgel, ac a ddangosasom i'n brodyr yr ugain ereill: ac felly cybydd-dod a wnaeth i ni ewyllysio ei farwolaeth ef. Ond Duw ein tadau ni a'i gwaredodd ef o'm dwylaw, fel na chawn wneuthur y fath ddrygioni yn Israel.

Ac yr awr hon, fy mhlant, rhoddwch glust i eiriau gwirionedd, fel y byddo i chwi fyw yn gyfiawn, a chadw cyfraith y Goruchaf, ac nad eloch ar gyfeiliorn trwy genfigen, o herwydd hyny sydd ddrwg yn ngwaith pob dyn. Pa beth bynag a wnelo arall, hyny y mae y cenfigenus yn ei gasâu ac yn ei ffieiddio. Ac os bydd i un gadw cyfraith yr Arglwydd, etto nid ydyw yn ei ganmol: ac er i un ofni yr Arglwydd, ac ymddwyn yn gyfiawn, er hyny nid yw efe yn ei garu, eithr yn cablu'r gwirionedd, ac yn cenfigenu wrth yr hwn sydd yn trefnu ei ffyrdd yn union, y mae ef yn mawrygu cabledd, ac yn caru gwatwar-gerdd. Ac o herwydd i gasineb ddallu ei feddwl, y mae efe yn gwneuthur â'i gymmydog, megys ag y gwnaethom ninnau i Joseph.

Gan hyny, fy mhlant, ymgedwch oddiwrth gasineb, o herwydd ei fod yn gweithredu drygioni, ie, yn erbyn yr Arglwydd, canys ni wrendy eiriau gorchymyn Duw ynghylch caru o ddyn ei gymmydog, eithr fe a becha yn genfigenus yn erbyn yr Arglwydd. Ac os trosedda brawd, y mae efe allan o law yn ei gyhoeddi ar led, ac yn brysur yn ei euog farnu i farwolaeth, neu i gael cerydd am ei gamwedd; ac os bydd y troseddwr yn was, neu yn wr caeth, mae yn ei gyhuddo wrth ei feistr, ac yn dychymmyg pob modd a allo i'w erlid ef, ac i'w roi i farwolaeth, os bydd bosibl; canys mae casineb yn gweithio gyda chenfigen, ac mae yn ddrwg ganddo glywed neu weled fod dynion yn myned yn eu blaen yn llwyddiannus, trwy wneuthur daioni. Canys megys ag y mae cariad yn dwyn ewyllys da, ie, at y marw, gan ddymuno ei fod yn fyw, ac yn ewyllysio, ped

f'ai bosibl, attal rhag marwolaeth y rhai a fwriwyd i farw; eithr cenfigen sydd yn chwennych lladd y byw, ac yn ei farnu yn annheilwng o fywyd am y troseddiad lleiaf: canys ysbryd casineb, trwy ddrwg gyndynrwydd y galon, sydd yn gweithio yn gytun gyda Satan yn mhob peth, ie, hyd farwolaeth a dinystr dynion.

Ond y mae ysbryd cariad, trwy hir ymaros, yn gweithio gyda chyfraith Duw, er lleshad i ddynion.

Casineb sydd ddrwg, o herwydd ei bod yn aros gyda chelwydd, gan ddadleu yn wastadol yn erbyn gwirionedd, a gwneuthur defnydd mawr o faterion bychain, gan orchuddio goleuni â thywyllwch, a chyfrif y melys yn chwerw, a dysgu enllibio, rhyfela, gorthymu, a llaweroedd o bob drygioni, ac o'r diwedd yn llenwi y galon o bob gwenwyn dieflig.

Fy mhlant, yr ydwyf yn dywedyd y pethau hyn drwy brofiad, fel y byddo i chwi ochelyd casineb, a glynu wrth gariad duwiol; uniondeb a ymlid ymaith gasineb, a gostyngeiddrwydd a'i lladd; canys y mae yn gywilydd gan wr cyfiawn gostyngedig wneuthur cam, nid rhag ofn cerydd, ond er mwyn cydwybod, o herwydd bod yr Arglwydd yn gweled ei ddyben ef; nid yw yn cablu neb, o blegid ofn y Goruchaf sydd yn gorchfygu casineb; canys nid yw yr hwn sydd ag ofn yr Arglwydd yn troseddu, neu yn gwneuthur cam ag un dyn, gymmaint ag mewn meddwl.

Ac o'r diwedd mi a ddaethum i wybodaeth o'r pethau hyn, pan yr edifarheais o herwydd fy ymddygiadau tuag at Joseph, o herwydd bod gwir edifeirwch yr hwn sydd yn ol ewyllys Duw, yn marweiddio y pethau drygionus, ac yn dyfod â dyn i ufydd-dod, yn ymlid ymaith y tywyllwch, yn goleuo y llygaid, yn rhoddi gwybodaeth i'r meddwl, ac yn arwain yr enaid i fwynhad o'r iachawdwriaeth. Canys pa bethau bynag y mae dynion heb ei wybod o honynt eu hunain, hyny y mae edifeirwch yn ei ddysgu iddynt. Canys fe a'm dygodd i benyd calon; ac oni buasai gweddiau fy nhad Jacob, myfi yn sicr a fuaswn farw allan o law; canys yn y peth y pecho dyn, yn yr unrhyw beth y ceryddir ef; ac yn gymmaint a'm bod yn ddidrugaredd tuag at Joseph, fe orfu i mi oddef yn fy nghalon gyfiawn farn Duw dros yspaid un mis ar ddeg, fel y byddai i amser fy nghystudd fod yn cyrhaeddyd allan yn union i'r amser y buom yn cymhell gwerthu Joseph.

Yn awr, gan hyny, fy mhlant, cared pob un o honoch eich brodyr, a bwriwch ymaith gasineb allan o'ch calonau, gan garu y naill y y llall mewn gair a gweithred, ac amcan y meddwl. Canys o flaen fy nhad mi a ddywedwn yn dyner am Joseph, ond o'r tu ol iddo, yspryd cenfigen a dywylla fy nealltwriaeth, ac a demtiai fy meddwl i'w ladd ef.

Am hyny cerwch eich gilydd o'ch calonau, ac os trosedda un o honoch yn erbyn y llall, hysbyswch iddo yn fwynaidd o'i blegid, gan fwrw allan wenwyn casineb, heb feithrin dim twyll yn y galon; ac os bydd i'r troseddwr gyfaddef, a bod yn ddrwg ganddo o'i blegid, yna maddeuwch iddo; ac os efe a'i gwada, nac ymrysonwch ag ef, rhag iddo syrthio i dyngu ac felly pechu yn ddau-ddyblyg.

Na adewch i un dyeithr eich clywed chwi yn datgan dirgelion eich gilydd mewn amryfusedd, rhag iddo droi i fod yn ddrwg ewyllysiwr i chwi, a gweithio rhyw fawr ddrwg yn eich erbyn; canys efe a ymddyddan yn dwyllodrus, ac a gloddia oddi tanodd i wneuthur rhyw dro egr, gan gymmeryd ei wenwyn o'th law di dy hunan.

Gan hyny, os efe a'i gwada, a chywilyddio o'i blegid, gan dewi a son pan geryddir ef, na fwrw ef allan, o herwydd drwy wadu y mae efe yn edifarhau, ac felly ni throsedda efe mwy i'th erbyn, ond efe a'th anrhydedda di, a'th ofna, ac a fydd mewn llonyddwch: ond os efe a fydd yn ddigywilydd, ac a barha yn ei ddrygioni, yna bwrw yr ymddial i Dduw â'th holl galon.

Ac os un arall a fydd mwy llwyddiannus nâ thi, na fliner dydi o blegid hyny, ond gweddia drosto ar iddo gael perffaith lwyddiant; canys fe allai y bydd hyny er daioni i chwi; ac os dyrchefir ef fwy fwy, na chenfigenwch wrtho ef, ond cofiwch fod yn rhaid i bob cnawd farw; molianna yr Arglwydd am hyny, yr hwn sydd yn rhoddi pethau daionus a llesol i bob dyn. Ceisiwch farnedigaethau yr Arglwydd, ac felly dy feddwl a'i gâd ef yn llonydd, ac a fydd mewn llonyddwch.

Yn awr, os gwr a gyfoethogir trwy foddion drygionus (megys Esau, brawd ein tad) na chenfigenwch wrtho ef; canys wrth wneuthur felly y mae dyn yn cyfarchwylio yr Arglwydd, naill ai i gymmeryd ymaith ei ddaioni oddiwrth yr annuwiol, neu efe a'i gâd ef yn llonydd i edifeirwch, neu ei gadw yn ddiedifeiriol, i'w ddiddiwedd boenedigaeth. Canys y gwr tlawd a chanddo ddigonolrwydd o bob peth, sydd yn rhoddi diolchgarwch i'r Arglwydd, a gyfoethogir gan bawb, ac nid yw neb yn ewyllysio niwed iddo.

Gan hyny, fe meibion, ymaith â chasineb o'ch calonau, a cherwch y naill y llall â meddyl-fryd union: ac ewyllysiwch i'ch plant chwi anrhydeddu Lefi a Juda, canys allan o honynt hwy y cyfyd Duw Achubwr i Israel. Canys mi a wn y bydd i'ch plant chwi yn y diwedd ymadael oddiwrthynt hwy, a rhodio mewn pob math o anwiredd a drygioni, a llygredigaeth o flaen yr Arglwydd.

Ac ar ol ychydig orphwysdra, efe a ddywedodd drachefn, Fy meibion, gwrandewch ar eich tad; cleddwch fi gyda fy nhadau.

Ac felly, gan dynu ei draed efe a hunodd mewn tangnefedd; ac ar ol pump o flynyddoedd fyned heibio, hwy a'i cariasant ef yno, ac a'i dodasant ef gyda'i dadau yn Hebron.

(*I'w barhau.*)

---

## RHYBYDD I LYWYDDION Y CYNNADLEDDAU A'U HYSGRIFENWYR.

**Rhybyddir** Llywyddion ac Ysgrifenwyr yr holl Gynnadleddau a'r Cangenau yn Nghymru, i ddanfon i mewn eu cyfrifon hannerblynyddol, at y Llywydd Phillips, erbyn y 7fed o Fehefin nesaf.

Gwneler y cyfrif i fyny ar y laf o Fehefin. Yr hyn a ofynir yw rhif y cangenau, yr archoffeiriaid, y degau-a-thrugain, yr henuriaid, yr offeiriaid, dysgawdwyr, a'r diaconiaid; a esgymunwyd, a fu farw, a ymfudodd, a fedyddiwyd, rhif presennol yr aelodau (ac yn mhob amgylchiad cynnwysed rhif yr aelodau rif y swyddogion a'r aelodau gwasgaredig hefyd), ac enwau y Llywydd a'r Ysgrifenydd. Gobeithiwn y gofala y Llywyddion fod y cyfrifon yn cael eu rhoddi mewn amser prydlawn, hyny yw, erbyn y 7fed dydd o Fehefin, fel na orfoder ni i ddysgwyl am danynt fel arferol.

---

## LLAFAR "UDGORN SEION."

TYRED, tyred i'r ddiangfa,
  Ffo i'r noddfo, brysia'n glau
O hyll orthrwm Babilonia,
  Dydd ei difrod sy'n nesâu.
Gwel! cei wared o'th elynion,
  Saf yn wrol i dy ran;
Draw ar hyfryd fynydd Seion
  Cei orfoledd yn y man.

O braidd bychan, paid ag ofni,
  Derfydd rhwystrau, seinia gân,
Cei dy Dduw yn noddwr iti
  Yn y dwr ac yn y tân.
Er dyoddef maith helbulon,
  Rhwng gelynion ar y llawr,
Draw ar hyfryd fynydd Seion
  Cei dy etifeddiaeth fawr.

Paid, bererin, gâd dy ofnau,
  Paid â'th alar, paid a'th boen,
Cwyd dy olwg, sych dy ddagrau,
  Gwel dy artref gyda'r Oen;
Gwrando lais Tywysog bywyd,
  Gwel dy goron yn dy law,
Cei d'addurno â phob gwynfyd,
  Gwisgi anfarwoldeb draw.

Cân, mae'th ymdrech bron a gorphen,
Buddugoliaeth gei i'th ran,
Ar dy gwynfan y daw diben,
Meddi ryddid yn y man;
Os caethiwed Babel greulon,
Fu'n dy lethu lawer gwaith,
Draw ar hyfryd fynydd Seion
Cei lawenydd PEN DY DAITH!

*Aberamman.* DEWI ELFED JONES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

RHYBYDD I YMFUDWYR.—Dyfynwn a ganlyn o lythyr Daniel Evans (gynt o Hirwaun), ag sydd yn bresennol yn St. Louis, fel rhybydd i'r Saint sydd yn ymfudo:—"Ar eich dyfodiad i New Orleans, rhaid i chwi brynu bwyd, ac felly newid eich arian. Cewch arian America yn eu lle; gan hyny, rhaid i chwi eu deall hwynt cyn dyfod yma, fel na chaffoch eich twyllo; eithr y mae llawer o anhawsdra i'w deall hwynt. Y mae arian gwahanol wledydd a theyrnasoedd yn cael eu harferyd yma. Ond arian America sydd fel y canlyn:—Dolar yw 4s. 2c., hanner dolar yw 2s. 1c., chwarter doler yw 1s. 0½c., dime yw 5c., hanner dime yw 2½c., bit yw tua 6c., cent yw ½c. Wrth newid 6c., chwi a gollwch 1c.; wrth newid swllt chwi a gollwch 2c.; wrth newid hanner coron, chwi a gollwch 5c; felly, na chymmerwch gyda chwi arian gleision. Wrth newid penadur, bydd i chwi ennill 2c.; ond yn yr arian gleision, bydd i chwi golli. Hefyd, y mae llawer o aur a biliau yn cael eu defnyddio yn y wlad hon." Geill y cynghorion hyn fod o lês.

RHWYMO LLYFRAU.—Mae awydd arnom i roddi ychydig o gynghorion ynghylch rhwymo llyfrau. Na fyddwch yn awyddus i rwymo gormod gyda eu gilydd; canys y mae llyfrau trwchus yn tori llawer yn gynt, ac yn gofyn ail rwymiad. Mae un gyfrol o'r UDGORN yn ddigon byth o lyfr, onide ni wnelem ef yn gyfrolau blynyddol. Pan fyddo amryw gyfrolau wedi eu rhwymo yn un, y mae'r treuliad ar y cyfryw yn llawer mwy na phe buasent ar wahan, fel y gellid eu defnyddio bob yn un. Gwell rhwymo y traethodau gyda eu gilydd, yn un llyfr, nâ'u cymmysgu gyda'r Udgorn, Eurgrawn, &c. Nid oes neb yn well yn y pen draw, trwy rwymo llawer ynghyd. Er hyny yr ydym ni yn rhwymo llyfrau pawb fel y byddont hwy yn dewis; canys nid yw wahaniaeth i ni, nag i un rhwymwr arall, pa un ai tew ai tenau y byddo'r llyfrau a rwymir: i'r perchenogwyr y perthyna.

YR YMFUDWYR CYMREIG DIWEDDAF.—Yr ydym wedi gweled llythyron oddiwrth David Jones (Mynwy), William Beddoe (Merthyr), a J. Davies (Pendaren), yn hysbysu iddynt ddechreu eu taith ar y laf o Chwefror, a chyrhaedd New Orleans yn ddiangol ar y 6fed dydd o Ebrill. Allan o gwmpeini o 374 ni bu farw ond pedwar, tri o ba rai oeddynt fabanod afiach cyn eu cymmeryd ar y llong. Merch i'r brawd Pratt oedd un o'r babanod, yr hon a beraroglwyd er ei chladdu yn New Orleans. Yn mhlith y Cymry, priodwyd Edward Williams, o Laneili, sir Gaerfyrddin, ag Ann Morgan o'r Cwmbach. Mae rhoi hanes helaeth o fordeithiau yn myned bellach yn rhy gyffredin; er hyny y mae llawer o bethau yn llythyr y brawd Beddoe a ewyllysiem eu cyhoeddi pe buasai lle genym.

YR hwn sydd yn dysgwyl am gyfleusdra i wneuthur llawer ar unwaith, a ddichon anadlu allan ei anadl olaf mewn dymuniadau ofer, a chaiff ofidio yn ei oriau diweddaf am ei fwriadau diles a'i sel anffrwythlawn.

Y BYWYD DYNOL.—Y bywyd dynol sydd yn cael ei yspeilio yn barhaus gan oresgynwyr; un a ledrata ymaith awr, a'r llall ddiwrnod; un a guddia y lledrad trwy ein gyru mewn gormod brys at ein gorchwylion, a'r llall trwy ein suo â phleserau a digrifwch; ond y difrod a barha i fyned rhag ei flaen, hyd oni fyddom wedi colli y cwbl.

AMSER.—Amser yw yr hyn sydd arnom fwyaf o'i eisieu, ond amser yw yr hyn a ddefnyddir waethaf; heb ystyried y bydd yn rhaid i ni roddi cyfrif am dano pan na fyddo amser mwyach.

---

TALIADAU O FAI 1 HYD MAI 15.—Sir Gaerfyrddin, £12; Sir Gaernarfon, £2 10s; Sir Feirionydd, £1 9s; Sir Ddinbych, £1; Dinas, 8s; Pontytypridd, £1; Pendulwyn, 10s 4c; Georgetown, 7s 6d.; Pendaren, 10s 6d; Cefn, 14s; Pendulwyn, 2s 2c; Merthyr, £1 10s; Cyfanswm, £22 1s 6c.

☞ Newydd ei gyhoeddi, pris ceiniog, neu 7s. 6c, y cant, Traethawd ar WYRTHIAU, yn darlunio pa beth ydynt, eu dyben, y pryd eu cyflawnir, a'u safonolrwydd i brofi dwyfoldeb crefydd: gan J. Davis, Merthyr.

☞ Ymddengys llythyr y Llywydd F. D. Richards at y Llywyddion a'r Dosparthwyr yn ein rhifyn nesaf, megys ag y mae yn y *Star* am Fai 15, 1851, yr hon a anfonir i ni yn mlaenllaw bob pythefnos.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 11.] MAI 31, 1851. [PRIS 1*g*.


## AT HENURIAID LLYWYDDOL A DOSPARTHWYR LLYFRAU CYNNADLEDDAU YR EGLWYS YN Y DEYRNAS GYFUNOL, SEF PRYDAIN FAWR A'R IWERDDON, YNGHYD AG EIDDO YNYS MANAW A'R CHANNEL ISLANDS.

(O'r "Millennial Star.")

ANWYL FRODYR A CHYD-WEISION,—Gelwir eich sylw yn neillduol at destun yr erthygl hwn, hyny yw, sefyllfa arianol eich Cynnadleddau, mewn cyssylltiad ag eiddo y swyddfa hon. Mae yn ffaith deilwng o ddiolchgarwch a chydnabyddiaeth gerbron Duw, fod cylchrediad y gair argraffedig, yn y rhan fwyaf o'r Cynnadleddau, wedi cynnyddu yn ddirfawr yn ystod y ddau chwarter diweddaf, ïe, uwchlaw un arall oddiar rheoleiddiad yr eglwys. Yn hyn yr ydym yn gorfoleddu yn ddirfawr, ac yn gweddio y bydd i'r un ysbryd duwiolfrydig ac anturiaethol gynnyddu, hyd nes y byddo pob Cynnadledd a Changen yn cael eu deffroi a'u cynhyrfu i efelychu esiamplau y rhai ag sydd wedi myned rhag eu blaen gyda'r gwaith gogoneddus hwn. Mae profiad yn profi yn ddyddiol i ni, i'r Saint, ac i'r byd, pan fyddo ei fobl Ef yn ymdrechu taenu gwybodaeth, am yr Efengyl ogoneddus i'w cyd-greaduriaid, mewn cariad, addfwynder, a gweddiau lawer, fod yr Arglwydd yn arddel eu hymdrechiadau gostyngedig, ac yn eu coroni â llwyddiant, yn fynych i raddau annysgwyliadwy. Er enghraifft, y mae un person wedi derbyn dim llai nâ deg swllt, mewn cyfraniadau gwirfoddol, oddiwrth bersonau nad oeddynt yn aelodau yn yr Eglwys, i gynnorthwyo i

brynu traethodau at ddosparthu, mewn un wythnos, tra wrth ei gwaith o ddosparthu yn y tai, yn ei dosparth hi o'r dref. Mae yr amser ag sydd wedi myned heibio eisoes oddiar sefydliad cyffredinol Cymdeithasau Traethodau, a Chlybiau Llyfrau yn mhlith yr Eglwysi, wedi dechreu llefaru yn effeithiol rhyfeddol, lle mae y moddion hyn wedi eu mabwysiadu, trwy yr ychwanegiad mawr a chynnyddol o aelodau at yr Eglwys, gan achosi ysbryd ymchwiliad ar ol gwirionedd, yn yr eglwys ac allan o honi, yn mhlith pa rai yr ydym wedi sylwi ar olygyddion a chyhoeddwyr; ac mewn amrywiol o amgylchiadau, lle yr oedd y gwaith wedi myned i ystad o farweidd-dra a chysgadrwydd, y mae y moddion hyn wedi ei gynhyrfu i sefyllfa o fywyd a bywiogrwydd; mewn gwirionedd, lle bynag yr ydys wedi mabwysiadu y cynlluniau at ledaenu llyfrau a thraethodau, y maent wedi rhoddi y profion mwyaf o'u defnyddioldeb, a'u cyfaddasiad at anghenion y bobl, ar bynciau crefydd ddadguddiedig; a thaer obeithir, y bydd i'r Cynnadleddau a'r Cangenau hyny nad ydynt wedi gwneyd y cynnydd hwnw yn ngwybodaeth Duw, ac mewn ychwanegiad at eu rhifedi, yr hyn a ymddengys yn ddymunol iddynt hwy i'r dyben o gadw yn mlaen gyda'u chwaer eglwysi, gael eu tueddu i gael allan feddyginiaeth trwy y moddion hyn, y rhai a arferir yn awr mor gyffredinol.

Gelwir eich sylw neillduol at y ffaith, fod swm y dyledion am lyfrau, Stars, &c., ar y gwahanol Gynnadleddau, ac ereill, am y chwarter yn terfynu Mawrth 15, a chyhoeddedig yn Rhif. 7, am Ebrill 1, y flwyddyn bresennol, yn dyblu yn agos y swm a gyhoeddwyd yn Rhif. 1, dyledus am y chwarter blaenorol; ac y mae cynnyddiad y ddyled yn ystod y chwarter diweddaf, wedi mwy na dyblu y chwarter cyn hyny; yr ydym yn gweled fod hyn yn darogan llawer am gynnydd ychwanegol teyrnas ein Gwaredwr yn yr amser dyfodol, yn gystal ag arwyddo yn wirioneddol a nerthol ei chynnydd presennol, canys y mae yn rhaid iddi ymhelaethu, ac fel y byddo yn ymhelaethu, y mae rhaid i'n cynlluniau a'n trefniadau ninnau ymhelaethu yn gyferbyniol iddi, hyd nes y buddugoliaetho. Mae y galwad mawr am lyfrau yn ystod y chwarter diweddaf wedi hollol ddihysbyddu yr wythfed argraffiad o'n Lyfr Hymnau. Mae Llyfr Mormon, a'r Athrawiaeth a'r Cyfammodau yn agos â bod allan o brint hefyd. Fel mynegair i'n golygiadau am ymhelaethiad, dywedwn fod argraffiad o bedair mil o Lyfrau Hymnau, yn 1847, yn cael ei ystyried yn ddigonol at yr alwad a ddysgwylid. Yn 1849, cafodd yr wythfed argraffiad o ddeg mil ei gyhoeddi, ac y mae y nawfed argraffiad, yr hwn sydd yn y wasg yn bresennol, yn cynnwys pum mil ar hugain, ac i fod yn barod yn fuan i'w werthu. Wrth edrych, ynte, ar ein cynlluniau helaeth er cyhoeddi amrywiol weithiau yr Eglwys, a'r symiau cynnyddfawr sydd yn ddyledus oddiwrth y Cynnadleddau, y mae yn dyfod yn ddyledswydd arnom i alw arnoch ar yr amser presennol, i gydweithredu gyda ni yn fwy effeithiol, trwy beri fod i bob trysor-

feydd yn cyfodi oddiwrth werthiad rhai neu yr oll o lyfrau yr Eglwys, a allant fod yn eich dwylaw, gael eu danfon i ni heb yr oediad priodol lleiaf. Nis gallwn ni glirio ein cyfrifon gyda yr Argraffydd a'r Llyfrwerthwr, trwy ymddwyn fel ag yr ymddygwyd at y Crynwr, pan y collodd ei lyfr-cyfrifon, sef, trwy ddweyd "*parhaed brawdgarwch.*" Ni wna dim llai na Phunnoedd, Sylltau, a Cheiniogau, ateb eu pwrpas hwy; ac ni wna dim llai na hyny ateb ein pwrpas ninnau; ac ychwaith, ni all dim yn fyr o sylw parod a ffyddlawn ar drafodaeth fasgnachol yr Eglwys, ein galluogi ni i gario yn mlaen waith Duw, yr hwn a ymddiriedwyd i ni, pa un bynag ai yn y Swyddfa, neu yn y Cynnadleddau; ac os na fydd dyn yn ffyddlawn ynghylch y mammon anghyfiawn, pa fodd y ceir ef yn deilwng i ymddiried iddo y gwir drysorau!

Oddiar hydref 1846, arferiad sefydlog y Cynnadleddau oedd apwyntio dosparthwyr trwy bleidlais, trwy yr hyn yr oeddynt yn myned yn atebol drostynt mewn Punnoedd, Sylltau, a Cheiniogau, mewn achosion o fethiant. Os oes rhai o'r cynnadleddau wedi colli golwg ar hyn, bydded iddynt wneuthur felly yn eu cyfarfod charterol nesaf, ac hysbysu yr unrhyw i'r Swyddfa hon. Fe welir, ynte, nad oes un dosparthwr cyffredinol yn gyfrifol i'r Swyddfa hon, am gyflawniad dyledswyddau ei swydd, eithr i'r Gynnadledd a wasanaetha; a'r Gynnadledd yn unig sydd yn gyfrifol i'r swyddfa hon, ynghylch talu yr holl ddyled ag y darfu i'w dosparthwr fyned iddo er eu mwyn. Dyledswydd yr henuriaid llywyddol, i'w gwneuthur eu hunain yn llwyr wybodus o sefyllfa cyfrifon eu dosparthwyr, a mynu gweled, mor aml ag unwaith bob chwarter, fod swm y dyledion oddiwrth yr is-ddosparthwyr, ynghyd â'r llyfrau, traethodau, Stars, &c., ar eu dwylaw, yn cyfateb yn gymhwys i swm y dyled i'r swyddfa hon; a chan fod y dosparthwyr yn y cangenau yn cael eu cyfarwyddo i beidio gwerthu llyfrau yr eglwys ar goel i bersonau, ond am arian yn unig, yna os bydd i'r cyfarwyddiadau hyn gael eu cario allan yn ffyddlawn ac yn unol, ni fydd unrhyw anhawsdra i settlo eich cyfrifon yn chwarterol.

Frodyr, na fydded i wylder neu ledneisrwydd gau eich rhwystro i gyflawni y ddyledswydd hon yn ddioed ac yn ffyddlawn; nid yw yn ddigon i chwi roddi cyfarwyddiadau i'r dyben hwnw, eithr gofynir i chwi fynu gweled fod y cyfarwyddiadau hyny yn cael eu cario allan. Os bydd eich dosparthwyr yn uniawn a ffyddlawn yn eu dyledswyddau, bydd yn dwyn llawenydd neillduol iddynt i gyflwyno eu hymddygiadau a'u cyfrifon, er i chwi eu harolygu a rhoddi cynghorion llesol; ac os dangosir unrhyw wrthwynebiad ar eu rhan hwy, i gyflwyno eu hachos yn deg a gonest i'r goleuni—mae hyny yn unig yn reswm digonol, am y gofal a'r diwydrwydd, a annogwyd yn barod, ar eich rhan chwi.

Dylai fod pob dosparthwyr, cyfrifon pa rai a gyrhaeddant £5 y chwarter, wneuthur eu taliadau yn fisol, a'r rhai sydd â'u taliadau yn llai a ddylent ddanfon tua chanol a diwedd pob chwarter, gan

gymmeryd gofal fod eu tâl diweddaf mewn pryd i'w gyhoeddi yn nghyfres y dyledion am y chwarter hwnw.

Mae y daioni mawr sydd yn ngallu dosparthwyr y llyfrau a'r Star i wneuthur, yn ystyriaeth a ddylai arwain i ddewis dynion anturiaethol a chyfiawn—dynion o FFYDD, y rhai sydd yn myfyrio helaethiad, cynnydd, ac adeiladaeth Teyrnas Dduw—dynion sydd yn ceisio yn gyntaf Deyrnas Dduw a'i gyfiawnder Ef, y rhai ni aberthant ei lles er mwyn cyfleusdra personol neu elw, pa un bynag ai eiddo eu hunain ai eiddo rhywun arall, pa mor agos, anwyl, ac ymddiriedgar bynag y gallant fod; megys, er enghraifft, Mae y cymmydog Hunan, gan wybod fod arian Eglwysig yn nwylaw y dosparthwr, yn dymuno cael benthyg swm fechan am ychydig o ddyddiau, tuag at gyflawni rhywbeth pwysig. Y dosparthwr, gan deimlo ewyllys i wneyd cymmwynas, a chyda hyny yn dra adnabyddus o'r brawd Hunan, ac yn meddu ymddiried mawr ynddo, a rodda iddo fenthyg ychydig o bunnoedd, gan gredu yn ddios mai pryd bynag y buasai eu heisieu y byddai efe yn eithaf parod i dalu; yn fuan dacw anlwc annysgwyliadwy yn tori ymaith ei obaith i ennill mewn rhywbeth, ac y mae efe yn analluog i ddychwelyd yr arian i'r brawd da y Dosparthwr. Mae y Dosparthwr yn caredig guddio anlwc y brawd Hunan, hyd nes y gofynir iddo ddangos ei gyfrifon, pan wele, a llyna, mae y swm yn ymddangos yn nghyfrifon y Dosparthwr, yn arian a roddwyd yn fenthyg i Hunan. Mae y Dosparthwr yn awr, trwy fod yn analluog i wneuthur taliad llawn, neu os yn alluog, nid yw yn foddlawn, efallai, i dalu yr hyn a fuasai y brawd Hunan wedi ddychwelyd, oni buasai ei fod wedi cyfarfod ag anlwc, wedi dyfod yn droseddwr; ac y mae efe a'r brawd Hunan wedi colli ymddiried y Saint, a pheryglu eu harosiad yn Eglwys Dduw; ac y mae yn rhaid i'r Gynnadledd yn awr i gyfarfod â'r dyled.

Yn awr, erfyniwn yn neillduol, pan fyddo digon o arian mewn llaw er eu rhoddi at wasanaeth unrhyw beth pa bynag, y bydd y cyfryw yn cael eu rhoddi at wasanaeth eu gwir berchenog—yr Eglwys, trwy ddanfon yr unrhyw i gyfarwyddyd swyddfa y *Star*. Nid yw yr Eglwys etto wedi dyfod yn ddigon cyfoethog i agor swyddfaoedd benthyca a newid, mewn amrywiol ranau o'r deyrnas; a thaer ddymuna i ochelyd yr anghenrheidrwydd o fenthyca, yr hyn feddylir a ellir effeithio, os bydd i'r dosparthwyr droi drosodd eu ceiniogau cyflym-dro i'w chynnorthwy parhaus. Mae yn rhaid ei fod yn amlwg i bob dyn ystyriol, pan y mae y fath swm gynnyddol o stock yn sefyll allan yn y Cynnadleddau, os na fydd sylw cyferbyniol yn cael ei wneuthur i wneyd taliadau buan, fod ein gallu ni i helaethu y gwaith o gyhoeddi yn cael ei leihau yn fawr iawn; a chynnyddir ein hanalluogrwydd yn ol rhifedi y cyfryw ag ydynt yn talu am wyth neu ddeg mis gyda'u gilydd, a'r cyfryw hefyd, nad ydynt yn cynnyddu yn eu heirchion am gyhoeddiadau, ond yn gadael eu dyled i redeg gwarter ar ol chwarter. Mae yn dda genym i

hysbysu fod yr enghreifftiau hyn yn *ychydig*, eithr taer ddymunwn y byddant yn fuan yn *llai*.

Nid yw yn ddoethineb i'r henuriaid llywyddol i feichio eu hunain gyda dyledswyddau dosparthwr cyffredinol, gan y bydd yn rhwystro eu gwaith mwy gwerthfawr yn yr Eglwys; ac yn eu rhwystro i ddyfeisio ffyrdd a chynlluniau i daenu y gair argraffedig a llafaredig mewn lleoedd nad yw yr Efengyl etto yn hysbys; heblaw hyny, pe gallech ennill ychydig o geiniogau mewn sypyn o lyfrau, er na fyddai yn ddigon i'ch talu chwi am eich trafferth, tueddai i gau i fyny deimladau haelionus y bobl tuag atoch—arweiniai hwynt i anghofio eich bod wedi eich danfon i bregethu yr Efengyl heb bwrs nac ysgrepan, trwy eu chwyddo hwynt mewn tyb eich bod chwi yn gwneyd eich bywioliaeth trwy werthiad llyfrau.

Y mae yn well fod dynion ereill yn cael eu penodi yn ddosparthwyr, a thrysorwyr i'r Drysorfa Ymfudol Barhaus; a'ch bod chwi, yn ysbryd eich galwedigaethau, yn llywyddu a dysgu swyddogion eu dyledswyddau yn mhob peth, yn dymmorol ac ysbrydol. Dyledswydd amrywiol drysorwyr y Drysorfa Ymfudol Barhaus i'w talu *cyfanswm y cyfraniadau ar ddiwedd pob chwarter*; ac edryched yr Henuriaid Llywyddol na fyddo un ffyrling a roddir i'r drysorfa hono, yn cael ei defnyddio at unrhyw beth arall. Os dygwydda unrhyw gam ddefnyddiad o'r Drysorfa Ymfudol Barhaus, y person a drosedda felly, os na edifarha ar fyrder a dychwelyd pob ffyrling yn ol, a newidir, ac un ag a feddo deimladau o dosturi tuag at y tlawd, ac un a drafoda eu trysorfeydd â dwylaw glân, a gymmera ei swydd.

Wrth ddiweddu, erfynir arnoch i chwilio erthygl ar y pynciau hyn, a gynnwysir yn y *Star*, Rhif. 19, o'r gyfrol ddiweddaf; a'r ddwy erthygl ynghyd a'ch galluogant i ddeall yn eglur ein golygiadau, mewn perthynas i'r dull goreu i gydweithredu â ni yn achosion masgnachol eich cynnadleddau efo'r swyddfa hon; ac fe gawn ni ein galluogi, trwy eich gwrandawiad chwi arnom, nid yn unig i gyhoeddi argraffiad newydd diwygiedig ac helaethach o'r Llyfr Hymnau, ond hefyd argraffiad newydd o Lyfr Mormon, a'r Athrawiaeth a'r Cyfammodau, oddeutu dechreu y tymmor ymfudol nesaf.

Bydded i ysbryd y Duw byw eich galluogi chwi i fyned mewn ac allan o flaen ei bobl mewn addfwynder, purdeb, a ffyddlondeb, fel y galloch weinyddu bywyd tragywyddol iddynt yn llwyddianus, a chael llawenydd mawr yn eich llafur.

F. D. Richards.

---

## IACHAD RHYFEDDOL.

Anwyl Frawd Davis,—Yr wyf yn anfon yr hyn a ganlyn atoch, gan ddymuno arnoch ei udganu trwy gyfrwng yr Udgorn.

Dydd Llun, y 18fed o'r mis hwn (Mai), pan ddychwelais adref

oddiwrth fy ngwaith, daeth cenad i ymofyn am danaf i weinyddu yr ordinhad o eneinio ag olew, ar frawd bychan oddeutu deuddeg oed, o'r enw William Phillips, yn Aberaman. Yn fuan wedi ymolch, mi aethum yno, ac yr oedd yn bresennol ddau henuriad a llawer o Saint. Gofynwyd i'r meddyg, yn eu gwydd hwy oll, ynghyd ag un o'r byd, os oedd y bachgen wedi tori ei glun, ac atebodd ei fod; yna wedi rhoi y glun yn ei lle, a gosod estyll am dani, aeth y meddyg ymaith. Wedi y cyfarfod yn yr hwyr, darfu i mi ac henuriad arall ei eneinio ag olew yn enw yr Arglwydd, a theimlais yr esgyrn yn cylymu pan yn gweddio drosto. Tystiodd ef fod ei boen wedi diflanu, ac nad oedd eisieu y coed mwyach. Gwelsom ef yn cerdded allan ar y 22ain, sef yn mhen tri diwrnod.

*Aberaman.* JOHN EDMONDS.

D.S.—Yr ydym ni yn tystiolaethu fod yr hanes hwn yn gywir.

DANIEL BIRCH,
SAMUEL DAVIES.

---

## TESTAMENT Y DEUDDEG PATRIARCH, SEF MEIBION JACOB.

[*Parhad o dud.* 161.]

### TESTAMENT ASER.

*A wnaeth efe i'w blant ar ei farwolaeth, mewn perthynas i ddau wyneb, un o ddrygioni, a'r llall o rinwedd.*

D'wedai Aser wrth ei feibion,
Fod dwy ffordd i hiliogaeth dynion;
A dau beth i'ch arwain ynddynt,
Na chedwch fyth ddau wyneb iddynt.

COPIAD o dystiolaeth Aser, sef o'r pethau a lefarodd efe wrth ei blant, yn y ganfed a'r ddegfed flwyddyn o'i fywyd, ac efe etto mewn iechyd, efe a ddywedodd wrthynt,

Chwi, meibion Aser, gwrandewch ar eich tad, a mi a ddangosaf i chwi yr holl bethau sydd union o flaen yr Arglwydd.

Duw a roddes ddwy ffordd i feibion dynion, dau feddwl, dwy weithred, dau o leoedd, dau ddyben; ac ar hyny, yr holl ffyrdd a allant fod yn un, ie, er eu bod hwy yn wrthwynebol, fel y mae ffordd da a drwg: y mai hefyd ddau feddwl yn ein dwyfronau, y rhai sydd yn ein hannog naill ai at dda a gonestrwydd, neu at ffalsder.

Gan hyny, os dyn a arweinir i ddaioni, ei holl weithredoedd a ragflaenant mewn perthynas i gyfiawnder, ac os gwna ef ddim ar fai, yn y man y mae yn edifarhau; yn gymmaint â bod ei feddwl ef yn blygadwy i gyfiawnder, yn rhoi heibio lygredigaeth, ac allan o law yn gwellhau ei gamweithrediadau, ac yn cospi llygredigaethau ei feddwl.

Ond os ei feddwl a blyga at ddrwg, y mae ei holl weithredoedd

yn tueddu at ddrygioni, yn gymmaint â'i fod ef yn taflu ymaith y da, ac yn cymmeryd atto ei hun y drwg, o herwydd ei fod ef dan lywodraeth Belial: ac os gwna un peth da, y mae yn troi y cyfryw i ddrygioni, canys os dechreu ef wneuthur un daioni, fe a'i try yn y diwedd i ddrwg weithred, o herwydd bod trysor ei galon ef gwedi ei lygru â gwenwyn dieflig yr ysbryd drygionus; ac am hyny y mae y drwg yn meistroli dros y da yn ei feddwl ef, ac felly yn dybenu pob peth yn ddrygionus.

Rhyw un a ddengys dosturi i'r hwn a wasanaetho ei dro ef mewn drygioni, y mae gan y dyn hwnw ddau wyneb, a'i weithredoedd sydd ddrygionus greulon.

Ac un arall fydd yn caru anras, mae hwn yn ddrygionus hefyd, ac er iddo gael yn ei galon farw er mwyn tosturi ei ddrygioni ef, etto y mae yn amlwg ei fod ef yn ddau wynebog, a'i weithredoedd yn nghyd yn ddrygionus greulon; ac os nad yw ei gariad ef ond aflendid, y mae megys yn gorchuddio ei ddrwg ag enw da, pan fyddo dyben ei weithredoedd yn tueddu at ddiwedd drygionus.

Arall sydd gybyddlyd, ac a wna gam cyhoeddus, fe a bilia, a ddigroena, ac ni thrugarha wrth y tlawd; mae hwn hefyd yn ddau wynebog, a hyn oll sydd ddrygionus greulon; canys wrth fod yn grintach tuag at ei gymmydog, mae ef yn annog yr Arglwydd i ddigofaint, ac yn gwadu y Goruchaf wrth ei annhrugaredd i'r tlawd; y mae yn dirmygu ac yn cenfigenu wrth yr Arglwydd, yr hwn a orchymynodd y gyfraith, nid ydyw yn foddlon i'r tlawd orphwys; mae'n halogi ei enaid ei hun i gael gwychu ei gorff, mae yn lladd llawer, ac yn trugarhau wrth ychydig. Dyma gampau y dyn dau wynebog.

Arall a wna odineb a phuteindra, neu a flina lawer un drwy ei allu a'i gyfoeth, ac etto a ymgeidw oddiwrth fwydydd, ei ymbryd ef sydd ddrwg, canys y mae efe yn gwneuthur y gorchymynion â chalon ddrwg; dyma ddeiliad dau wynebog, yr hyn i gyd sydd ddrwg. Y cyfryw bobl ydynt union megys moch ac ysgyfarnogod, canys y maent yn ymddangos yn hanner glân; ond yn y weithred y maent hwy yn hollol aflan.

Am hyny, na fyddwch debyg iddynt, ac na ddygwch ddau wyneb dan un benwisg, y naill o ddrygioni, a'r llall o ddaioni, eithr glynwch oll wrth y daioni; canys yn y daioni yr ymhyfryda yr Arglwydd, a dynion da a'i hoffant. Gochelwch ddrygioni, canys trwy eich gweithredoedd da y gorchfygwch y diafol. Y rhai dau wynebog nid y'nt yn gwasanaethu Duw, ond trachwantau eu hunain; o herwydd eu bod hwy yn ceisio boddloni Belial, a' cyfryw ag ydynt debyg iddynt eu hunain. r

Ond y cyfryw ag ydynt union yn eu hymddygiad, ac yn ym ddangos yn un wynebog, ydynt yn cael eu cymmeryd fel troseddwyr gan y rhai dau wynebog; etto union ydynt yn ngolwg yr Arglwydd: y mae llawer trwy roddi dynion drwg i farwolaeth yn gwneuthur dwy weithred ar unwaith, sef daioni trwy ddrygioni; ond y mae yr holl weithred yn ddaionus, oblegid yr hwn a ddiwreiddiodd allan y drwg, a'i dinystriodd ef.

Rhyw un, gan gasâu ei gymmydog, yn annhrugarog a feia arno am ei ladrad, y cyfryw sydd weithred dda, o herwydd ei fod ef yn dilyn esiampl yr Arglwydd, gan beidio a gwneuthur cyfrif o'r peth sydd yn ymddangos yn dda, pan fyddo yn ddrygionus yn ddiau.

Un arall nid ymlawenycha gyda gloddestwyr, rhag ei lygru ganddynt hwy, ac felly difwyno ei enaid: y mae y dyn yma yn ddau wynebog, etto ei weithredoedd ydynt dda; ac y mae megys iwrch neu hydd, y rhai mewn mintai o anifeiliaid aflan gwylltion, fe debygir eu bod hwythau yn aflan, ac etto y maent yn gwbl lân; felly am y dyn, o herwydd ei fod ef yn rhodio yn sel yr Arglwydd, gan ochelyd a chasâu y rhai y gorchymynodd Duw eu gochelyd yn ei orchymynion; ac felly yn gorchfygu y drwg trwy wneuthur yn dda.

Gwelwch gan hyny, y modd y mae dau yn mhob peth, y naill yn erbyn y llall, a'r naill yn guddiedig dan y llall: marwolaeth yn canlyn bywyd, cywilydd yn canlyn gogoniant, nos yn canlyn dydd, a thywyllwch yn canlyn goleuni. Yr holl bethau cyfiawn ydynt dan fywyd a goleuni, am hyny y mae bywyd tragywyddol yn rheoli ar farwolaeth. Ac nid cymhwys dywedyd fod y gwirionedd yn anwiredd, cyfiawnder yn anghyfiawnder ac uniondeb yn gam; canys megys ag y mae pob peth o dan, Dduw, felly y gwirionedd oll sydd o dan y goleuni.

Mi a arferais yr holl bethau hyn yn fy mywyd, ac ni chyfeiliornais oddiwrth wirionedd yr Arglwydd, eithr ceisiais orchymynion y Goruchaf hyd eithaf fy ngallu, ac a rodiais ag un wyneb mewn daioni.

Gan hyny, byddwch ofalus tuag at orchymynion yr Arglwydd, a dilynwch y gwirionedd ag un wyneb syml. Canys y rhai sydd ddyblyg ei hwynebau, fe ddyblir eu poenau: ysbryd cyfeiliornus sydd yn casâu yr hwn sydd yn ymladd yn ei erbyn.

Cedwch gyfraith yr Arglwydd, ac na wnewch gyfrif o'r rhai drwg sydd yn ymddangos yn dda, ond bydded eich golygon at yr hyn sydd dda mewn gwirionedd, a chedwch yr unrhyw; gan ddychwelyd at yr Arglwydd yn ei holl orchymynion, a gorphwys arno; canys y dybenion at ba rai y mae dynion yn tueddu, sydd yn dangos y cyfiawnder, ac adnabyddiaeth angylion yr Arglwydd oddiwrth angylion satan.

Canys os chwi a lynwch wrth ysbrydoedd drygionus, eich eneidiau a boenir gan yr ysbrydion hyny, y rhai a wasanaethasoch mewn chwantau a gweithredoedd drygionus. Ond os bydd i chwi fod yn llonydd ac yn gysurus, ac yn adnabyddus ag angel y tangnefedd, efe a'ch cysura yn holl amser eich bywyd.

Fy mhlant, na fyddwch fel y Sodomiaid, y rhai nid adnabuasant yr angel, ac a gollwyd yn dragywydd. Canys y mae yn sicr genyf, y bydd i chwi bechu, a chwi a draddodir i ddwylaw eich gelynion, a'ch tir a anrheithir, a chwithau a wasgerir i bedair congl y ddaear, ac a ddirmygir megys dyfroedd aflesol, yn eich gwasgariad ar led, hyd oni ymwelo y Goruchaf â'r ddaear, gan fwyta ac yfed megys dyn, gyda dynion, a thori pen y sarff heb

drwst; efe a weryd Israel a'r holl Genedloedd trwy ddwfr, wrth fod Duw yn guddiedig mewn dyn.

Gan hyny, mynegwch i'ch plant y pethau hyn, fel na byddo iddynt esgeuluso cyfraith Duw, yr hon sydd yn 'sgrifenedig yn llechau'r nefoedd. Canys amser a ddaw, pryd na choeliant gyfraith yr Arglwydd, a chwi gan syrthio i ddrygioni, a weithredwch yn anwireddus yn erbyn Duw, gan ddiystyru ei gyfraith ef, trwy ufyddhau i orchymynion dynion.

Oblegid hyn y gwasgerir chwi oddiamgylch, fel fy mrodyr Gad a Dan, y rhai nad oeddynt yn gydnabyddus â'u gwlad eu hunain, eu llwyth a'u tafod-iaith.

Etto, yr Arglwydd a'ch casgl ynghyd drachefn yn y ffydd, er mwyn gobaith o'i drugaredd, ac er mwyn Abraham, Isaac, a Jacob.

Ac wedi iddo lafaru y pethau hyn, efe a orchymynodd ei gladdu yn Hebron; ac efe a fu farw, gan gysgu cwsg dda. Ac ar ol hyny, ei feibion gan wneuthur megys ag yr ewyllysiodd, a'i dygasant ef yn ol, ac a'i claddasant gyda ei dadau.

---

## TESTAMENT JOSEPH,

*A wnaeth efe i'w blant wrth farw, ynghylch diweirdeb.*

Joseph war glaiar ei glod,<br>
Ddawnus, a'i ddoniau sydd hynod;<br>
Dyoddefodd—mae da i ddyfod,<br>
I'r santaidd yn niwedd y nôd.

Fy meibion, a'm brodyr, gwrandewch ar anwylyd Israel. Fy mhlant, gwrandewch ar eich tad; mi a adnabum yn fy mywyd genfigen a marwolaeth, â pha rai y mynai fy mrodyr fy nyfetha, canys hwy a'm casasant, ond yr Arglwydd a'm carodd. Hwynthwy a fynent fy lladd, ond Duw fy nhadau a'm cadwodd yn fyw: hwy a'm rhoddasant yn y pydew, ond y Goruchaf a'm dygodd allan drachefn: fe'm gwerthwyd megys caethwas, ond yr Arglwydd a'm gwnaeth yn rhydd, â'i law nerthol: fe'm gadawyd yn unig, ond yr Arglwydd a'm cysurodd: myfi a fum yn glaf, ond yr Arglwydd a ymwelodd â mi: myfi a fum yn ngharchar, a'r Achubwr a'm gwnaeth yn llawen: fe'm sicrhawyd mewn cadwyni, ond yr Arglwydd a ddattododd fy rhwymau: ac efe a ddadleuodd fy achos yn achwyniaeth yr Aifftwyr, ac nid yn unig a'm gwaredodd oddiwrth genfigen a thwyll, ond hefyd a'm dyrchafodd; yn gymmaint ag i Putiphar, pen Distain tŷ Pharao, roddi i mi le i letya, lle y bum mewn perygl am fy hoedl, o achos gwraig ddigywilydd, yr hon a'm hudai i wneuthur drygioni gyda hi, trwy fflam o drachwant, yr hon ydoedd yn llosgi o gwmpas ei dwyfron hi. Fe'm bwriwyd i garchar o'i phlegid hi: a mi a gurwyd ac a watwarwyd, ond yr Arglwydd a gynhyrfodd geidwad y carchar i ddangos trugaredd tuag ataf.

Nis gad efe y rhai a'i hofnant mewn tywyllwch, mewn rhwymau, nac ychwaith mewn poenau ac eisieu.

Nid ydyw Duw yn cywilyddio nac yn arswydo, megys dynion; nid yw yn llefaru, nac yn ysgogi rhag ofn dynion; y mae yn holl-bresennol yn mhob man; ac yn eu gofidus brudd-der y mae efe yn cysuro yr eiddo: weithiau y mae ef yn myned ymaith dros amser, i brofi amcanion eu meddyliau hwynt: fe a'm cafodd yn ffyddlon mewn deg o brofedigaethau, ac yn mhob un o honynt mi a fum sefydlog, ac fe a'm cadwyd. Canys dyoddefgarwch sydd feddyginiaeth fawr, ac yn peri llawer o ddaioni.

Pa cyn fynyched y darfu i'r Aifftiaid fwgwth fy marwolaeth? A pha cyn fynyched i'm cystuddiwyd? ac etto y wraig a'm galwai drachefn. O mor fynych y bygythiai fy lladd, am na fyddai i mi a wnawn â hi!

Hi a ddywedai wrthyf, Ti a gai lywodraethu arnaf, ac ar y cwbl ag sydd eiddo, os tydi a rydd dy hunan i minnau, ac ufyddhau i'm dymuniad, ti a gai arglwyddiaethu arnom.

Eithr mi a gofiais eiriau fy nhad Jacob, a chan fyned i'm hystafell, mi a weddiais ar yr Arglwydd, ac a ymprydiais saith niwrnod; er hyny yr oeddwn yn ymddangos i'r Aifftiaid yn yr unrhyw gyflwr yn fy nghorff, â phe buaswn yn byw mewn pleserau a difyrwch: o herwydd y rhai a ymprydiant i'r Arglwydd, sydd yn derbyn tegwch wyneb-pryd.

Pan roddwyd i mi win, nid yfwn o hono; a chan ymprydio drachefn dridiau, mi a gymmerwn fy mwyd ac a'i rhoddwn i'r claf a'r anghenog, ac yn fore y deffrown at yr Arglwydd, ac a ŵylwn o herwydd Memphetica yr Aifft-wraig, canys fy mlino yr ydoedd hi beunydd.

Hi a ddeuai ataf yn y nos, megys pe ba'i hi yn dyfod i ymweled â mi: ac yn gyntaf, o herwydd nad oedd iddi fab, hi a gymmerai arni fy nghymmeryd megys yn fab iddi, a mi a weddiais ar i Dduw roddi mab iddi, hyd y cyfryw amser y'm cofleidiodd, megys pe buaswn fab iddi, a minnau heb ddirnad yr achos.

Ac yn y diwedd, hi a fynai fy nhynu i wneuthur godineb gyda hi; a minnau, gan fy nghalw fy hun i goffadwriaeth, a fum gystuddiedig hyd angeu.

A phan aeth hi allan, mi a ddaethum ataf fy hun, ac a alerais dros amryw ddyddiau, canys mi a ddeallais ei thwyll a'i chyfeil-iornad. A mi a lafarais wrthi hi eiriau y goruchaf Dduw, fel os byddai bosibl i'w dychwelyd hi oddiwrth ei angeuol drachwant.

Ac amryw amserau y llafarai hi wrthyf eiriau gwenieithus, megys wrth wr santaidd, ond nid heb dwyll, gan glodfori fy mhrydferthwch, a'm gonestrwydd ger bron ei gwr, yr hwn a fynai yn gwbl fy nystrywio.

Yn gyhoeddus ac yn ddirgel, hi a ddywedai wrthyf, Nac ofna mo'm gwr, canys mae efe gwedi cael boddlonrwydd o herwydd dy ddiweirdeb di; ac os bydd i neb hysbysu iddo o'm plegid i a thithau, ni bydd iddo ef gredu mo hyny.

Ac o herwydd y pethau hyn, y gorchuddiais fy hunan mewn sach-liain, ac y gorweddais ar y ddaear, ac y gweddiais ar yr Holl-alluog, ar iddo ef fy ngwared i oddiwrth yr Aifft-wraig hon.

A chan nad allai hi wneuthur dim yn y ffordd hon, hi a ddaeth ataf fi drachefn gwedi ei harfogi â rhesymau ereill, sef ei bod hi yn chwennych dysgu gair genyf, ac a ddechreuodd lafaru yn y modd hyn, Os myni di i mi ymadael â'm heulunod, dilyn fy nymuniad, a minnau a gynghoraf fy ngwr, yr Aifft-ddyn, i fyned yntau oddiwrth ei eulun addoliaeth, a nyni a rodiwn yn nghyfraith dy Dduw di.

Yna yr atebais i'r pethau hyn, Ni fyn Duw neb i'w addoli mewn aflendid, ac nid oes ganddo bleser mewn godinebwyr, ac ar hyny hi a dawodd, heb gael ei dymuniad, sef cyflawni ei thrachwant. A minnau a ymprydiais ac a weddiais ar i Dduw fy ngwared oddi wrthi.

A thrachefn, ar amser arall, hi a ddywedodd wrthyf, Oni bydd i ti odinebu gyda mi, myfi a laddaf fy nhywysog, ac felly wrth y gyfraith mi a'th gymmeraf yn wr i mi.

A phan glywais hyny, mi a rwygais fy nillad, ac a ddywedais, Wraig, attolwg, cywilyddia oblegid y pethau hyn o flaen Duw, ac na wna y fath ffieidd-dra, ac na ddigalona yn gwbl, rhag i ti soddi yn dy ddrygioni dy hun. Canys os ti a ai rhagot, fe fydd i mi ddatgan a chyhoeddi amcan dy anwiredd di.

A hithau, gan ofni y pethau hyn, a ddeisyfodd arnaf, na byddai i mi ddadguddio ei drygioni hi, ac felly hi a ymadawodd.

Etto, hi a aeth ynghylch fy hudo â'i rhoddion drachefn, gan ddanfon i mi bob peth a oedd raid i dynion wrthynt; a hi a ddanfonodd i mi fwydydd gwedi eu hilio oddi amgylch â swynion: ac fel yr oedd yr Eunuch yn ei ddwyn i mewn, myfi a edrychwn, ac wele ddyn dychrynllyd yn rhoddi i mi gleddyf a phiol, a mi a ystyriais ei bod yn myned ynghylch fy hudo, a phan aeth ef ymaith, mi a wylais, ac nis cyffyrddais â dim o'r bwyd hwnw, nac â dim arall a ddanfonodd hi, dros ennyd fawr.

Yn y diwedd, ar ol hyny, hi a ddaeth ataf, gan ddywedyd, Beth ydyw yr achos na buasit yn bwyta o'r bwyd? a minnau a ddywedais, Am ddarfod i ti ei wenwyno ef, am hyny ti a gai wybod, na ddeuaf at eulunod, ond yn unig at Dduw. Gwybydd gan hyny, mai Duw fy nhadau trwy ei angel, a ddangosodd i mi dy ddrygioni di, a minnau a gedwais y bwyd i'th gywilyddio; fel os byddai bosibl, y gellit edifarhau, a dysgu gwybod nad ydyw dichell gweithredwyr anwiredd yn llwyddo yn erbyn y rhai a addolant Dduw mewn purdeb a gonestrwydd. A mi a gymmerais ac a fwyteais o'i blaen hi, gan ddywedyd, Duw fy nhadau, ac angel Abraham a fydd gyda mi; a hithau a gwympodd wrth fy nhraed, ac a wylodd. Yna gan ei chodi hi i fyny, mi a'i cynghorais mewn amryw ffyrdd; a hithau a addawodd wrthyf, na byddai iddi wneuthur y fath anwiredd ar ol y dydd hwnw.

Etto, o herwydd fod ei chalon yn alarus, ac yn llosgi tuag ataf mewn godineb, trwy ocheneidiau y rhai oedd yn dyfod o ddyfnder ei chalon a'i hwyneb-pryd, hi a syrthiodd i lawr. A'r Aifft-ddyn ei gwr hi, a ddeallodd, ac a ddywedodd, Paham yr wyt ti yn gos-

twng i lawr dy wyneb? a hithau a atebodd, Yr ydwyf yn athrist o galon; ac yntau a'i cysurodd hi, yr hon nid ydoedd glaf.

Er hyn, hi a ddaeth i mewn ataf drachefn, pan oedd ei gwr allan, ac a ddywedodd, Yr ydwyf yn grogedig neu yn dagedig, naill ai mi a doraf fy ngwddf, neu mi a'm boddaf fy hun, oni bydd i ti ufyddhau i mi.

A minnau yn deall fod ysbryd Belial yn ei blino hi, mi a weddiais ar yr Arglwydd fy Nuw, ac a ddywedais, Paham yr wyt yn flinderog, tydi gwbl ddall mewn pechod? Cofia dy hunan, canys os ti a leddi dy hun, a gordderch dy wr (yr hwn a elwir *Second*) yn dy genfigenu di, efe a fwyty dy blant di, ac a ddinystria y coffadwriaeth o honot oddiar y ddaear.

A hi a ddywedodd wrthyf, Digon yw, digon, yr ydwyf yn deall fod genyt beth gofal drosof, y mae hyny yn ddigon genyf dy fod di yn amddiffyn fy mywyd i a'm plant, y mae genyf obaith da erbyn yr amser sydd i ddyfod, y bydd i mi gyrhaeddyd fy nymuniad ewyllysgar: ac nis deallodd hi mai o gariad at yr A glwydd fy Nuw, y dywedaswn i felly, ac nid er ei mwyn hi.

Canys pwy bynag a ddilyno drachwant, a'i frwnt ddystrywgar ddymuniad ei hun, a wneir yn was i'r cyfryw, megys ag yr oedd y wraig yma: ac os clyw ef un peth da yn ei ddyoddefaint, yn mha un y gorchfygir ef, y mae yn troi y cyfryw i'w beryglus fudr ddymuniad.

Yr ydwyf yn mynegi i chwi, fy meibion, mai o gwmpas chwech o'r gloch ydoedd pan aeth hi oddi wrthyf, mi a gwympais ar fy ngliniau ac a weddiais ar Dduw yr holl ddiwrnod hwnw, a'r nos oedd yn canlyn; ac ynghylch toriad y wawr, mi a godais dan wylo, ar i Dduw fy nghadw unwaith oddiwrth yr Aifft-wraig.

Ac o'r diwedd hi a gymmerth afael sicr yn fy ngwisg, gan geisio fy nhynu i'r gwely gyda hi; yna y deallais ei bod hi gwedi ynfydu, a thrwy drais, â'i holl nerth, yn dal ei gafael yn fy ngwisg, yna y gollyngais fy ngwisg i lithro oddi wrthyf, ac a ffoais ymaith.

Ac ar ol hyny hi a wnaeth achwyn arnaf wrth ei gwr, yr hwn a'm rhoddais yn ngharchar yn nhy y brenin; a'r dydd oedd yn canlyn, fe a'm curwyd i yn dost, ac fe'm bwriwyd i'r carchar; a phan oeddwn yn rhwym mewn gefynau, yr Aifft-wraig a syrthiodd yn glaf gan dristwch, ac a glybu pa fodd yr oeddwn yn clodfori Duw yn nhy y tywyllwch, canys yr oeddwn yn llawenychu â llef gorfoledd, ac yn moliannu fy Nuw yn unig â'm gwaedd, trwy y fath achos, i'm gwaredwyd oddiwrth yr Aifft-wraig.

Etto, a hi gan beidio a sefyll i wrandaw, a ddywedodd, Digon, cymmer y peth yr ydwyf yn ei gynnyg i ti, a chyflawna fy ewyllys, a mi a'th waredaf di o'th gaethiwed, ac a'th ddygaf di allan o'r tywyllwch: ond yn hyn oll ni allai annog dim arnaf, yn gymmaint ag i'm meddwl unwaith blygu at ei dymuniad hi; canys Duw sydd yn caru yr hwn sydd yn ymprydio mewn diweirdeb, er ei fod mewn carchar tywyll, yn well nâ'r hwn sydd

yn cymmeryd difyrwch mewn gwantawrwydd, mewn ystafelloedd o anrhydedd a golud.

Canys os bydd gwr fyw mewn diweirdeb, ac yn deisyf anrhydedd, os bydd Duw yn gweled yn gymhwys iddo, efe a'i rhydd iddo, megys ag y rhoddodd ef i minnau.

Llawer o amser, megys pe buasai hi yn glaf, hi a ddeuai i waered ataf, a minnau heb wybod; hi a glywai lais fy ngweddi, ac a safai yn hytrach yn fwy llonydd; ond pan glywn hi yn ocheneidio, mi a dawn, canys yn ei thy hi y diosgai ei hun yn noeth, ei breichiau a'i choesau, fel trwy hyny y byddai iddi ennyn cariad ynof tuag ati hi; canys yr oedd hi yn lân iawn, a chwedi ymdrwsio yn ogoneddus, i'm hudo i, ond Duw a'm cadwodd oddiwrth ei gwaith hi. Gan hyny, fy meibion, gwelwch beth y mae dyoddefgarwch gyda gweddi ac ympryd yn ei wneuthur.

Am hyny, fy mhlant, os cerwch chwi sobrwydd a diweirdeb mewn hir-ymaros, a gostyngeiddrwydd calon, yr Arglwydd a breswylia ynoch chwi, canys y mae efe yn caru sobrwydd: a phan fyddo y Goruchaf yn preswylio mewn dyn, er dygwydd iddo syrthio i genfigen neu gaethiwed, neu ogan, yr Arglwydd yr hwn sydd yn preswylio ynddo, am ei ddiweirdeb, nid yn unig a'i gweryd, ond hefyd a'i dyrchafa, ac a'i gogonedda, megys ag y gwnaeth ef â minnau; canys y mae yn wastadol gydag ef mewn meddwl, gair, a gweithred.

Fy mhlant, chwi a wyddoch yn ddigon da, y modd y cymmerodd fy nhad fi, etto ni bum erioed yn falchach o galon er hyny. Canys er pan oeddwn yn blentyn, yr oedd ofn Duw yn fy meddwl. A phan ddaethum i oedran, myfi a'm cymhesurais fy hun, ac a anrhydeddais fy mrodyr, y rhai yr oeddwn yn eu hofni. Ac mi a gelais y peth pan y'm gwerthwyd, o herwydd na fynwn i'r Ismaeliaid wybod fy ngwreiddyn na'm cenedl, y modd yr oeddwn yn fab i Jacob, gwr o allu a nerth mawr.

Gan hyny, bydded genych ofn Duw yn eich gweithredoedd, ac anrhydeddwch eich brodyr; canys pob un a gadwo gyfraith yr Arglwydd, a gerir ganddo ef.

Yna, mi a ddaethum gyda'r Ismaeliaid i ryw le a elwir Indoclep, a hwy a ofynasant i mi beth oeddwn; a mi a ddywedais (oblegid nad oeddwn yn chwennych argyhoeddi fy mrodyr), mai un o gaethweision y ty oeddwn. Yna y dywedodd y penaf o honynt, Nid gwas ydwyt ti, canys dy wyneb sydd yn dangos beth ydwyt; ac efe a'm bygythiodd i farwolaeth; etto, er hyn i gyd, mi a ddywedais mai caethwas iddynt hwy oeddwn.

Ond pan ddaethom i'r Aifft, hwy a ddechreuasant ymryson pwy a'm cai am yr arian a dalesid am danaf, a hwy a gytunasant y cawn aros yn yr Aifft gyda marsiandwr, hyd yr amser y parasant i'w marchnatawyr ddychwelyd drachefn; a Duw a roddes i mi ffafr yn ngolwg y marsiandwr, fel y rhoddes ei holl dy o dan fy ngofal. A'r Arglwydd a'i bendithiodd ef trwyof fi, canys yr Arglwydd a roddodd iddo lawnder o aur ac arian; a mi a fum gydag ef dri mis a phum niwrnod.

Yn yr amser hwn yr aeth Memphetica, gwraig Putiphar, heibio i mi, mewn rhwysg mawr, a hi a fwriodd ei golygon arnaf, oblegid yr eunuchiaid a'm dangosasai iddi, a hi a hysbysodd i'w gwr, oblegid y marsiandwr, yr hwn a wnaethwyd yn gyfoethog trwy law dyn ieuanc o Hebrewr, a hi a ddywedodd. Ei ladrata ef a wnaethant allan o dir Canaan; gwna farn gan hyny arnynt hwy, a chymmer y dyn ieuanc yn olygwr i ti, a Duw yr Hebreaid a'th fendithia di; canys gras o'r nefoedd sydd ynddo ef.

Yna Putiphar, ei gwr hi, gwedi ei berswadio â'r geiriau hyn, a barodd ddanfon am y marsiandwr, ac a ddywedodd wrtho, Pa beth ydyw hyn yr ydwyf yn ei glywed am danat ti, dy fod yn lladrata eneidiau allan o dir yr Hebreaid, wrth werthu plant? A'r marsiandwr a gwympodd i lawr ar ei liniau, ac a ddeisyfodd arnaf, gan ddywedyd, Attolwg, fy Arglwydd, hysbysa i mi y peth hwn; canys nis gwn pa beth yr ydwyt yn ei ddywedyd. Ac efe a ofynodd, Yn mha fan y cefaist yr Hebread hwn? Yntau a atebodd, Yr Ismaeliaid a'i gadawsant ef yma gyda mi, hyd oni ddychwelent hwy drachefn.

A phan ddywedodd ef yn y modd hyny, Putiphar a ddywedodd, Dygwch yma y dyn ieuanc. A phan y'm dygwyd i mewn, mi a gyferchais dywysog yr eunuchiaid; canys efe ydoedd y trydydd gwr mewn anrhydedd gyda Pharao, ac yn dywysog ar yr holl eunuchiaid, ac yr ydoedd iddo wraig, plant, a gordderchadon.

Ac wedi iddo fy nghymmeryd o'r neilldu, efe a ddywedodd wrthyf, Pa un ai caeth ai rhydd ydwyt? minnau a atebais, Caeth. Yntau a ofynodd, Caeth i bwy ydwyt? minnau a atebais, Caeth i'r Ismaeliaid. Ac efe a ofynodd i mi drachefn, Pa fodd y dygwyddodd i ti ddyfod yn gaeth iddynt hwy? minnau a ddywedais, O herwydd iddynt fy mhrynu yn nhir Canaan. Etto, ni choeliodd mo honof, eithr efe a ddywedodd, Diau dy fod yn dywedyd celwydd; ac a orchymynodd fy nghuro.

A'i wraig ef oedd yn edrych trwy y ffenestr, ac yn gweled fy nghuro, hi a ddanfonodd at ei gwr, gan ddywedyd, Dy farn di sydd anghyfiawn, am dy fod yn ceryddu y dyn ieuanc hwn ar gam, yr hwn a ledratawyd. Er hyny, o herwydd nad oeddwn yn newid mo'm gair, fe'm curwyd drachefn, ac a archodd fy nghadw wrth ei orchymyn ef, hyd oni ddelai fy meistr. A'i wraig a ddywedodd, Paham y cedwir mewn caethiwed y plentyn arddercbog hwn? elusenach a fuasai ei ollwng ef ymaith, a'ch curo chwi. Ac yr ydoedd yn chwennych fy yspïo mewn dymuniad o bechod, a minnau heb wybod dim o hyn.

Ac efe a ddywedodd drachefn wrth ei wraig, Nid ydyw yn beth onest yn mysg yr Aifftiaid, gymmeryd ymaith eiddo un arall, heb i un yn gyntaf hysbysu iddo. A hyny a ddywedodd, o herwydd y marsiandwr a minnau.

Ac wedi fy rhoddi yn ngharchar, ar ol pedwar ar hugain o ddyddiau, daeth yr Ismaeliaid, a hwy gwedi clywed fod Jacob fy nhad yn drwm arno o'm plegid, hwy a ddywedasant wrthyf, Paham y dywedaist mai caethwas oeddit? ac yn awr, yr ydym ni

yn gwybod mai mab i wr mawr o dir Canaan ydwyt, ac y mae dy dad yn alarus am danat, mewn sach-lian.

Yna fe ddaeth wylo arnaf, ond mi a ymatteliais, rhag i mi gywilyddio fy mrodyr: a mi a ddywedais, Ni wn i mo hyny, canys caethwas ydwyf fi.

Yna hwy a gymmerasant gynghor yn eu mysg eu hunain, i ba le, neu i bwy y gallent hwy fy ngwerthu, rhag fy nghael yn eu dwylaw hwynt; canys yr oeddynt yn ofni fy nhad Jacob, rhag iddo ymddial arnynt; o herwydd hwy a glywsant ei fod yn nerthol gyda Duw a dyn.

Yna y dywedodd y marsiandwr, Rhyddhewch ef oddiwrth farn Putiphar: hwythau pan glywsant hyn, a ymofynasant am danaf, gan ddywedyd, ddarfod iddynt hwy fy mhrynu i am eu harian; ac yna fe'm rhoddwyd iddynt.

A Memphetica a ddywedodd wrth ei gwr am fy mhrynu i, a hi a ddywedodd, Yr ydwyf yn clywed eu bod hwy yn chwennych ei werthu ef.

A hwy a ddanfonasant un o'r eunuchiaid at yr Ismaeliaid, ar fedr fy mhrynu, a phryd nas gallent hwy gytuno am danaf, efe a ddychwelodd, ac a ddangosodd i'w arglwyddes eu bod hwy yn ofyn pris mawr am y bachgen.

A hi a ddanfonodd drachefn eunuch arall, gan ddywedyd, Pe bai iddynt ofyn dau gawgaid o aur, gwel nad ysbariech di mor arian, ond pryn y bachgen, a dwg ef i mi.

Ac efe a dalodd bedwar ugain o goronau aur am danaf, ac a ddywedodd wrth ei arglwyddes, iddo ef roddi pum ugain. A minnau yn deall hyn, a dewais a son, rhag ofn chwilio yr eunuch.

Gwelwch yn awr, fy mhlant, y pethau a ddyoddefais, a cherwch y naill y llall yn barhaus, gan fwrw ymaith o'ch mysg feddyliau twyllodrus, canys Duw sydd yn hoffi undeb rhwng brodyr, a chanddo hyfrydwch yn y cariad a'r etholiad o galon brofedig.

Canys pan ddaeth fy mrodyr allan o'r Aifft, ac iddynt fy adnabod, mi a roddais iddynt eu harian; ac erioed ni roddais waradwydd iddynt, ac a'u cysurais hwy; ac ar ol marwolaeth Jacob, mi a'u cerais yn fwy helaethach, a chymmaint oll a ddarfu iddo ef orchymyn i mi, a wneuthym yn ufydd, a rhyfeddent hwy na buaswn yn goddef iddynt gael blinder am ychydig achos, canys yr hyn oll a'r a ydoedd yn fy ngallu a roddais iddynt hwy. Eu plant hwy a gyfrifid i mi megys fy mhlant, a'm plant innau fel gweision iddynt hwy: eu bywyd hwy oedd fy mywyd i, a'u tristwch hwy ydoedd fy nhristwch i, a'u holl wendid hwy, a'u doluriau, ydoedd arnaf: fy nhir ydoedd dir iddynt hwy, a'm cynghor ydoedd gynghor iddynt hwy, ac nis dyrchefais erioed mo honof fy hunan mewn balchder uwch na hwy, o herwydd fy ngogoniant bydol, eithr oeddwn yn eu plith hwy megys un o'r rhai lleiaf.

(*I'w barhau.*)

## AMRYWIAETHAU, &c.

CARU DRWG.—Dynion a garant y drwg ynddynt eu hunain, etto nid oes un dyn yn ei garu mewn arall; ac er y dichon fod dyn yn caru pechod, nid oes neb yn caru y pechadur.

GWEDDI.

O, erglyw di, O Arglwydd da,
Ar weddiau taer dy blant,
Gan roi dy wên, a throi dy wg
A phob rhyw ddrwg i bant.
Dyhidla i lawr dy nefol dân,
I'n dwyn yn mlaen yn hy,
Fel b'om mewn hedd yn cael mwynhau
O'r manna oddi fry.
Siriola wedd pob gwyneb Sant,
Anwylaf blant y nef,
Haelionus Dad, a moes dy law
I'n gwared draw i dref.

P. HUGHES.

---

"Sant."—Dymunwn weled y gweddill o'ch Gweledigaeth.

☞ Mae yr Hen Lyfr Hymnau yn barod, heb eu rhwymo.

☞ Dylai pawb sydd yn dechreu derbyn yr ATH. A'R CYF. mewn rhyw Gangen, drefnu llwybr i dderbyn y cyfan yn yr un man, pa un a fyddont yn symud oddiyno ai peidio, fel na fyddo rhagor o golled a chymmysgedd yn cael eu hachosi. Cadwer y rhifynau od sydd yn sefyll ar law hyd nes y gorphenwn, ac yna dichon y gellir eu cwblhau yn gyfrolau.

☞ Mae'r Cangenau a addawant ar ddechreu blwyddyn i gymmeryd hyn a hyn o UDGORN, yn siomi yr Eglwys yn ei threfniadau, pan yn anfon am lai wed'yn. Pe gweithredai pawb felly, nis gellid cyhoeddi dim. Mae yr UDGORN yn rhad iawn, ac fe ddylid ei gefnogi. Er dysgu gwerthu ychwaneg, darllener "Anerchiad at y Saint," yn Rhif. 22, am 1850.

☞ Gobeithiwn orphen y "Testament" yn ein nesaf, ac yna cawn fwy o le at bethau ereill.

☞ Cynghorem feibion rhyddid i roi heibio cyfansoddi ar fesurau caethion, yn neillduol y rhai ni allant.

TALIADAU O FAI 16 HYD MAI 28.—Sir Aberteifi, £1; Sir Fflint, 15s; Pontytypridd, 17s 5c; Llanfabon, 13s 8½c; Cwmnedd, 6s; Georgetown, £1 1s; Merthyr, £1 10s; Eglwysnewydd, 1s. Cyfanswm, £6 4s 1½c.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 12.] MEHEFIN 14, 1851. [PRIS 1*g*.

## ANERCHIAD ORSON HYDE YN NGHYMMANFA KANESVILLE, IOWA, EBRILL 6, 1851.

[Allan o'r "Frontier Guardian," am Fai 2, 1851.]

Y MAE yn angheurheidiol i ni wybod ein sefyllfa bresennol. Yr ydych oll yn gwybod pa beth oedd ein sefyllfa bum mlynedd yn ol; yr oedd y *prairie* eang o'n blaen, a meibion y goedwig, y rhai oeddynt arglwyddi yr unrhyw, oeddynt ein cymmydogion. Daethom yma dan amgylchiadau neillduol iawn; gyrwyd ni o'n cartrefleoedd yn Illinois gan derfysglu cynddeiriog a gwaedlyd, i chwilio am noddfa yn mhlith anwariaid y gorllewin mawr. Darfu i ni fel ein tad Abraham, ddyfod allan o blith y bobl, i geisio am wlad na wyddem ddim yn ei chylch; ac yn gymmaint â'n bod ni yn debyg iddo mewn ffyddlondeb i'n Duw, yr ydym yn had Abraham ac yn etifeddion yn ol yr addewid; ac nid yw yr apostol, tra yn llefaru am ei had ef, yn cyfyngu eu llywodraeth i'r byd hwn, eithr dyweda, "Pob peth sydd eiddo chwi, a chwi ydych eiddo Crist, a Christ sydd eiddo Duw." Os yw pob peth yn cael ei roddi i'r Saint, yna oni welwch yr hyn a ddywedais yn flaenorol,—fod iachawdwriaeth Duw yn estynedig at holl blant dynion. "Cyfyng yw y porth, a chul yw y ffordd sydd yn arwain i'r bywyd," &c. Oddiwrth y sylwadau hyn a'r rhai canlynol, y mae llawer wedi casglu y meddylddrych mai ychydig gaiff eu hachub. "Ewch oddiwrthyf, chwi rai melldigedig, i'r tân tragywyddol," &c. Yn awr dyma amddiffynfa

llawer sydd yn anghredu yr athrawiaeth a ddygais dan sylw. Parotôdd Noah arch er ei iachawdwriaeth ei hun, ac eiddo ei deulu, fel y gallai yr hen fyd weled ei fod yn gweithredu yn ol ei ffydd, ac felly cafodd ei ffydd ei gwneuthur yn amlwg trwy ei weithredoedd.

Dywed Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau, am y rhai a wrthwynebent ei rybydd, fod yr Arglwydd wedi parotoi carchar iddynt. Darlunir y carchar hwn yn yr ysgrythyrau fel carchar tragywyddol, ond ni rydd y gyfrol ysbrydoledig awgrymiad fod y carcharorion i aros ynddo yn dragywyddol, heb ryddhad na chyfnewidiad. Er mwyn egluro, edrychwch ar ein carchar taleithiol ni; y mae y carchar yna yn wastadol er mwyn carcharu troseddwyr y gyfraith ynddo, yn ol graddau eu trosedd-iadau; ond pa bryd bynag y delo yr amser pan fyddo cyfiawnder wedi ei foddloni, a dybenion y gyfraith wedi eu hateb, a'r troseddwyr wedi dyoddef eu cosp gyfiawn, y maent yn cael eu rhyddhau, a'u dyoddef i fyned i blith y bobl, i feddiannu eu rhyddid,—er hyny y mae'r carchar yn aros yn yr un man o hyd. [Gofynodd yr Esgob yn ddystaw, "Pa mor hir y bydd y rhai hyny yn ngharchar, nad ydynt wedi talu eu degwm?" Atebed y troseddwyr.] Egluraf yma ynghylch Cariad ac Ofn; y mae yn ysgrifenedig yn y Beibl fod trugaredd neu gariad Duw yn parhau yn dragywyddol; ond ei ddigofaint sydd dros ychydig. Er enghraifft, yr ydych yn darllen am y dyn a syrth-iodd yn mysg lladron, yr hyn sydd yn dangos daioni Duw wedi ymestyn, fel y gallai cariad ac ymlyniad gael ei greu yn y creadur tuag ato. Athrylith llywodraethau y byd yw, "Pa fwyaf y gallu, agosaf at ffynnonell trugaredd." Pan fyddo mab da yn cael dolar gan ei dad, ac yn gwneyd defnydd doeth o hono, yna maes o law y mae y tad yn traddodi yr hyn oll sydd ganddo i ddwylaw y mab; ac felly yn cyflawni iaith yr ysgrythyr, "Buost ffyddlon ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer. Dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd."

Dymunwn ofyn yma, pa beth sydd wedi ein cadw ni fel pobl yn nghanol ein cyfnewidiadau, y rhai sydd wedi bod weithiau

yn wrthwynebol? Ein hundeb a'n ffyddlondeb mewn un achos cyffredin, a'r dylanwad moesol a ddefnyddiwyd.

A ydwyf fi wedi niweidio rhyw rai o honoch, mewn dolars a cents er pan wyf yn swyddog llywyddol i chwi? Os oes rhyw bersonau wedi eu niweidio, neu wedi cael cam oddiar fy llaw i, atebwch. Iuddew neu Genedl-ddyn! [Bu dystawrwydd mawr am amryw fynydau, a dim un ateb.] Yr wyf yn apelio at y Nefoedd fry (efo ei het ymaith, a'i ddeheulaw yn estyngedig i'r làn), os wyf wedi gwneyd cam â rhywun, y mae wedi ei wneyd trwy anwybodaeth, ac nid trwy fwriad.

Dywed rhai fy mod i mor garedig wrth y Cenedloedd, ag wyf wrth yr Iuddewon neu y rhai hyny sydd yn yr Eglwys. Y mae egwyddor yn fy mynwes ag wyf yn feithrin, hyny yw cyfiawnder. Yr wyf yn edrych ar bethau yn mlaenllaw gyda golygon prophwydoliaethol, ac yn eu gweled hwynt oll yn yr Eglwys; canys y mae ein Tad nefol yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, ac yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn. Os na wnawn ond caru y rhai sydd yn ein caru ni, pa wobr a gawn? mae y publicanod yn gwneuthur felly. Egwyddor, ar wahan oddiwrth gydymdeimlad, ddylai fod cymmeriad cynghorwr; a chyhyd ag y byddo dyn yn ymddwyn yn iawn, pa un ai yn yr Eglwys, neu allan o'r Eglwys, caiff ei amddiffyn yn ei iawnderau cyhyd ag y byddaf fi yn swyddog llywyddol i chwi. Mae yr Eglwys heddyw yn un-ar-hugain oed, a myn rhai i ni gredu ei bod y pryd hwnw i gyhoeddi ei hannibynrwydd; ond yr holl annibynrwydd sydd genyf fi i gyhoeddi yw yr hyn a gyhoeddais yn eich clustiau heddyw. Annibynrwydd cymmeriad ar egwyddor, ar wahan oddiwrth gydymdeimlad corwëawl, a rhith gyfeillgarwch. Nac eled un clec-iwr ymaith, a dywedyd fod y brawd Hyde yn dweyd ein bod yn annibynol ar lywodraeth yr Unol Daleithiau; os gwna rhywun, efe a ddemnir.

Yr wyf fi yn credu rhywbeth yn debyg i David Crockett, "Mynwch wybod eich bod yn iawn, ac ewch rhag eich blaen."

[Yr ydym yn gadael diwedd yr anerchiad allan, gan nad yw o wasanaeth i neb yma ei ddarllen.—GOL.]

## "SEINTIAU Y DYDDIAU DIWEDDAF YN ABERDAR,"

*Neu Ddau o Weinidogion y Bedyddwyr yn Nghapel Gwawr, ger Aberaman, Aberdar, ynghyd a lliaws o'r aelodau* wedi, *ac yn* parhau *i droi yn Seintiau, mewn Adolygiad ar lythyr T. Price, gweinidog Bedyddwyr Penypond, Aberdar, yn yr "Amserau."*

AT OLYGYDD YR "AMSERAU."

Mr. Golygydd,—Yn eich rhifyn am Mai 28, mae dernyn yn ceisio gwrthbroffesu "proffes rhyw un (nas gwn i pwy ydyw) yn rhoddi hanes Gweinidogion ac Eglwys y Bedyddwyr yn Aberdar, wedi troi yn Seintiau y Dyddiau Diweddaf." Ystyriwyf fod T. Price am wadu hyn. a thaflu gwirionedd yr amgylchiad i rywle tua dwy filldir o Aberdar, er mwyn twyllo rhyw ddynion i gredu nad oes na chapel na Bedyddwyr yn Aberdar, ond yr eiddo ei hunan mawr a'i blaid.

Gwybydder am Gapel Gwawr (yr hwn sydd yn awr, ynghyd â'r ddau weinidog, a lliaws o'r aelodau, yn meddiant Saint y Dyddiau Diweddaf), nad yw Aberamman "tua dwy filltir o Aberdar," er nad yw yn y llan na'r fan yr abera Dâr ynddo. Gwir, a dim ond y gwir yw hyn; os i'r gwrthwyneb, dangosed T. Price yn amgen, os gall. Gwir hefyd fod T. Price, o herwydd hyn, yn wynias gwyllt, yn malu ewyn, a bytheiriaw rhegfeydd yn erbyn y Saint, nes yw ei barchedig gorpws ar dori a myned yn llaprau. Diau ar fyr y bydd ei lestr mor llawn o falais i'r Saint, fel yr â yn ganddryll ysgymun, a'i ddarnau ffiaidd yn yfflon mân. Wela, hai, ynte! ni effeithia chwythiad ei gelanedd fwy ar y Saint, na chyfarthiad ci ar y lleuad. Cadarn yw gwirionedd Saint y Dyddiau Diweddaf,

> "A'i safle byth nis syfl'r,
> Cy'd â Duw y ceidw ei dir."

Deallwyf taw dybenion T. Price wrth ysgrifenu ei ddernyn ef, oedd, yn

1. Amcanu dirgelu y gwirionedd fy mod i, Dewi Elfed Jones, a gweinidog urddedig arall cynnorthwyol i mi, o'r enw David Rees, ynghyd ag ereill lawer o'r Bedyddwyr, "wedi troi oddiwrth y Bedyddwyr," ac ymuno â Saint y Dyddiau Diweddaf.

2. Bwrw gwarth at fy nghymmeriad i, a thadogi arnaf ei gymmeriad ei hun.

3. Twyll-hawlio aelodiaeth "lliaws o aelodau Capel Gwawr," pa rai y byddai yn filiwn gwell ganddynt fod heb un enw o grefydd byth, nag ymuno dan weinidogaeth T. P. na J. W., Cwmbach.

4. Gollwng cronfa regyddawl ei galon ar ol y Saint, a thrwy hyny yn dangos ei fod yn hoff a chyfarwydd â iaith a chyfrinach ei dad, a'i fod yn wastad, fel un o'i *agents* penaf, yn derbyn o'i *ddiabolical influences*; ac wedi'r cyfan, rhwng ei ddwylaw, mae ei holl ymgeisiadau yn erbyn y Saint yn myned yn lledffer arno cyn cyrhaedd ei amcanion.

Yn nghysswllt â'r uchodion, gofynaf a ganlyn i T. Price:—

1. Dywedwch fy mod i, "y Dafydd," yn bregethwr heb fy ail i bregethu pobl o'r capelau, ac i mi wneyd hyn ddwywaith neu dair. Ai nid y chwi mawr, mawr iawn, a'i barchedigaeth gwerthu-y-dawn-dim am bedair punt y mis yn Cwmbach, ynghyd â'ch diaconiaid, a lliaws o'ch aelodau, a ddaethoch atom i geisio ein hyspeiliaw o'n hiawnderau, ydych yn feddwl wrth bobl o'r capelau? Os felly, "*right* i wala." Yr ydych yn cofio, bid siwr, —ydych, ydych, a chofiwch spel dda hefyd, mi'ch gwranta chwi—am yr amser y gwasgodd fy ngwirioneddau gymmaint ar eich gwynt a'ch cydwybod, fel y gorfu arnoch oll ffoi yn waradwyddus a chrynedig dan bwys y tystiolaethau anwrthwynebol a'ch llethent i lipanwch a dreldod!

2. Pa faint o ffordd sydd rhwng Capel Gwawr a'ch capel chwi yn Penypond? A ydyw yn heblaw i filltir?

3. Dywedwch fod "Dafydd yn feddiannol ar y ddawn o wasguru." *Right* i wala etto, canys gwasgerais chwi a'ch bath lawer o weithiau, nid dwywaith na thair. Gwasgarwr ydwyf, a chewch deimlo hyny hefyd etto, pan y gwasgerir lliaws yn ychwaneg o'ch aelodau i ymuno â Saint y Dyddiau Diweddaf.

4. Dywedwch nad oes un berthynas rhwng "Dafydd a'i bedwar canlynwr" (dylasai ddywedyd pedwariaid) a'r Bedyddwyr, ac mai cam â'r enwad o Fedyddwyr yw ein cyssylltu â hwy. *Right enough* etto. Gwir i wala nad oes perthynas, yn yr hyn yr ydym yn mawr lawenhau; eithr, ysywaeth, bu cyssylltiad rhyngom; a pha faint o ugeiniau dros gant oeddym pan ein "diarddelwyd" yn groes i reol y gymmanfa, yn nghyfarfod Penypond Aberdar.

5. Pa rai oeddynt y "cyhuddiadau" a ddygwyd yn ein herbyn, ynghyd â Seinteiddiwch barn, &c., o'r eiddof a soniasoch am dano. Enwch y cyhuddiadau a addefais, fel y gallo y cyhoedd

weled dichellion reverendaidd cyflafan cynnadledd y tri-mis arfod. Ow, ow, y fath warth i ddynoliaeth! A ganiatawyd i mi, neu rai o'r Bedyddwyr oedd genyf, i lefaru un gair drosom ein hunain? Paham na chyhoeddasid y cyhuddiadau yr un fath â'r diarddeliad? Eiddunaf holl weinidogion Bedyddwyr Morganwg i ateb. Mae rhyw *sly trick* yn y fusnes.

6. Pa le mae y "nifer liosocaf," fel y dywedwch, a ymadawsant â mi? Ni ymunasant â chwi, T. P., na'r Cwmbach. Ai ni ymunodd lliaws â'r Saint?

7. Ai ni roddais i, "y Dafydd," reswm dros i mi gauad drws y capel, pan y buoch chwi a'r Parch. bach arall, mewn cyssylltiad â'ch brodyr, yn tori clo drws y capel, heb un awdurdod genych i hyny? Mae y tric bach hwnw ar gof etto, T. P. A ydyw yr ysfa ennynawl echrys hono a ymafiodd ynoch mor gethin, pan oeddwn yn ngwydd cannoedd ag oedd yn y capel, yn tynu darlun o honoch mor gywir yn weision cyflog, yn gofalu mwy am y gwlan nag am fywyd y praidd, heb ymadael â chwi?

8. A ydych chwi a'r eglwys yr un farn ac arferiadau ag oedd eglwys Penypond er ys chwe blynedd yn ol? Tystia eich heglwys yn wahanol. Onid rhywbeth fel yna, megys arddodiad dwylaw ar y bedyddiedig, &c., a wthiasoch allan o'r eglwys, oedd eich prif gweril â mi?

Atebiad buan i'r uchodion a rydd gyfleusdra teg ac achlysur naturiol i'r amgylchiadau o bob tu i gael eu gosod yn gyfiawn ar glyw a chyhoedd gwlad.

Wrth ateb, treiwch fod mor *good boy* ag y galloch, a pheidiwch rhegu maes o anadl fel y gwnaethoch; yna sicrhaf bob chwarae teg i chwi, fel y gallo eich *none-such* beidio dyrysu yn yr offer fel arferol.

Gan eich bod mor gynnefin â rhegu ag yw i chwi anadlu braidd, os mynwch gosodwch eich deuddeg sel regyddawl yn gadarnhad i'ch atebion, a gosodwch enw eich tad fel arfer yn llythyrenau dieflig ar y sel fawr ddiweddaf, a bwriwch y cyfan ar ol y Saint; a bydd pob peth yn *right* o'u tu hwy, canys nid oes neb ar y ddaear a allant ddiffoddi holl bicellau tanllyd y fall, ond Saint y Dyddiau Diweddaf. Da chwi, brysiwch i'm hateb.

"Na attal, tyred ati,
Wele faes, ac wele fi."

*Aberamman.* DEWI ELFED JONES.

# TESTAMENT Y DEUDDEG PATRIARCH SEF MEIBION JACOB.

## TESTAMENT JOSEPH,

[*Parhad o dud.* 179.]

Gan hyny, fy mhlant, os bydd i chwi rodio yn ngorchymynion yr Arglwydd, efe a'ch dyrchafa, ac a'ch bendithia â chyfoeth tragywyddol: ac os gwna undyn niwed i chwi, gwelwch ar i chwi drwy larieidd-dra weddio drosto ef, ac felly Duw a'ch gwared chwi oddiwrth bob drwg.

Eithr edrychwch, a gwelwch, fy hir-ymaros, y modd y rhoddwyd i mi ferch fy arglwydd yn wraig, a rhoddwyd i mi gyda hi gan talent o aur; canys Duw a wnaeth iddynt hwy fy ngwasanaethu, ac a roddodd i mi brydferthwch, fel y byddwn megys blodeuyn uwchlaw pawb a'r ydoedd lân yn Israel; ac felly a'm cadwodd hyd fy henaint mewn nerth ac mewn tegwch, o herwydd fy mod i yn debyg i Jacob yn mhob peth.

Gwrandewch yn awr, fy mhlant, ar y breuddwydion y rhai a welais; deuddeg carw oedd yn pori, a naw o honynt a ymranasant ar led y ddaear; ac hefyd mi a welais fel y ganwyd morwyn allan o Juda, a chanddi wisg o sidan gwyn, ac o honi hi y daeth allan Oen difrycheulyd: ac ar y llaw aswy i'r Oen yma yr oedd megys llew, a'r holl anifeiliaid gwedi ymwneuthur yn ei erbyn ef; a'r Oen a'u gorchfygodd hwynt, ac a'u sathrodd dan ei draed, ac ynddo ef y llawenychodd yr angylion, dynion, a'r holl ddaear.

Y pethau hyn a gyflawnir yn eu hamser, hyny ydyw, yn y dyddiau diweddaf. Gan hyny, fy mhlant, cedwch orchymynion yr Arglwydd, ac anrhydeddwch Juda a Lefi: canys o honynt hwy y tardd allan Oen Duw, yr hwn drwy ei ras a geidw Israel a'r holl Genedloedd; a'i deyrnas ef sydd yn dragywyddol, yr hon nid â heibio, canys fy nheyrnas i a ddiweddir ynoch chwi, megys un yn cadw gwinllan, ac ar ol y cynauaf, ni ymddengys mwyach.

Canys yr ydwyf yn gwybod yn dda, mai yn ol fy marwolaeth, y bydd i'r Aifftiaid eich blino chwi, ond Duw a ymddïal trosoch, ac a'ch dwg i dir yr addewid, yr hwn a dyngodd efe wrth Abraham, Isaac, a Jacob.

Ond dygwch fy esgyrn i gyda chwi, canys wrth wneuthur felly y bydd yr Arglwydd yn oleuni gyda chwi, yn erbyn yr Aifftiaid, a Belial a fydd yn y tywyllwch gyda'r Aifftiaid.

Dygwch hefyd esgyrn eich mam Zilpa, a chleddwch hi yn agos i'r dyffryn, yn ymyl Rahel.

A phan orphenodd efe lefaru y geiriau hyn, efe a estynodd ei draed, ac a hunodd hun yr holl fyd. Yna hwy a'i per-aroglasant ef â llysiau, gan ei roddi mewn coffr yn yr Aifft.

Ac ar ol iddo fyw ddeng mlynedd a chant, efe a welodd blant Ephraim hyd y drydedd genedlaeth. Canys i Machir mab Manasseh, y ganesid plant ar liniau Joseph.

Ac ar ol hyn, holl Israel a alarasant am dano ef, a'r holl Aifftiaid hefyd, â galar mawr; canys yr ydoedd efe yn tosturio wrth yr Aifftiaid, megys wrth ei aelodau ei hun; gan eu cynnorthwyo hwy â'i lafur ac â'i gynghor, ac yn gwneuthur daioni iddynt ar bob amserau a thymmorau.

---

## TESTAMENT BENJAMIN,

*A wnaeth efe i'w blant wrth farw, ynghylch meddwl glan.*

Benjamin sydd ddedwydd dôn,
Yn erchi gwiw orchwyl i'w feibion;
Trwy wedd bur gadw tra b'on,
Fuddiol dda feddwl union.

COPIAD o eiriau Benjamin, y rhai a lefarodd efe wrth ei blant, pan ydoedd efe yn chwech ugain mlwydd oed: efe a'u cusanodd hwynt, ac a ddywedodd,

Isaac a aned yn y ganfed flwyddyn i Abraham, felly finnau yn y ganfed flwyddyn i Jacob: ac o herwydd i Rahel farw ar fy ngenedigaeth, mi a sugnais ei llawforwyn hi Bilha. Canys ar ol geni Joseph i Rahel, hi a fu yn anmhlantadwy ddeuddeng mlynedd; a phan ddarfu iddi weddio ar yr Arglwydd yn y deuddeng mlynedd hyny, hi a feichiogodd, ac a esgorodd arnaf fi; canys fy nhad oedd yn caru Rahel yn rhagorol, ac yr ydoedd yn ewyllysio gweled dau fab o honi; ac am hyny i'm galwyd Benjamin, hyny ydyw, mab fy nyddiau, neu fab fy ngalar, o herwydd i'm mam farw ar fy ngenedigaeth.

A phan ddaethum gyntaf i'r Aifft, ac i'm brawd Joseph fy adnabod, efe a ddywedodd wrthyf, Pa beth a ddywedasant hwy wrth fy nhad pan y'm gwerthasant?

Minnau a atebais, Trochi a wnaethant dy siaced mewn gwaed mynn, gan ei dwyn hi ato ef, a dywedyd, Gwel ai hon ydyw siaced dy fab, ai nad ê.

A'm brawd hefyd a ddywedodd wrthyf, Yn ddiau pan y'm gwerthasant i'r Ismaeliaid, un o honynt a dynodd fy siaced, ac a roddodd i mi grys teneu, i'w roddi am danaf, a chan fy fflangellu, a barodd i mi redeg. Ac fel yr ydoedd efe yn myned o'r neilldu i guddio fy nillad, llew a gyfarfu ag ef, ac a'i lladdodd; a'r rhai oedd gyfranog ag ef, a ofnasant, ac a'm gwerthasant i'w cyfeillion.

Chwithau, fy mhlant, cerwch Dduw y nefoedd, ac ufyddhewch i'w orchymynion ef, gan ddilyn y gwr da a santaidd hwnw Joseph; bydded eich meddyliau gwedi eu gosod ar ddaioni, megys ag y gwyddoch chwi fod fy meddwl i. Yr hwn sydd ganddo feddwl da, y mae efe yn union, ac uwchlaw pob peth gweledig.

Ofnwch Dduw, a cherwch eich cymmydogion; yna, er i ysbryd Belial eich temtio i bob math o ddrygioni, a'ch blino chwi, etto, ni chaiff y llaw uchaf arnoch chwi, mwy nag y cafodd ar fy mrawd Joseph; pa gynnifer o ddynion a fynent ei ladd ef, er hyny Duw ydoedd yn wastadol yn ei amddiffyn ef.

Canys yr hwn sydd yn ofni Duw, ac yn caru ei gymmydogion, nid archollir ef gan wybrenol ysbryd Belial; a'r hwn sydd ag ofn yr Arglwydd yn darian iddo, sydd ddiogel oddiwrth bob dyn ac anifail, ac nis gellir mo'i orchfygu ef, o herwydd efe a gynnorthwyir gan gariad Duw, yr hwn sydd ganddo ef tuag at ei gymmydog.

Canys Joseph a geisiodd gan ein tad Jacob weddio dros fy mrodyr at yr Arglwydd, ar na byddai iddo gyfrif y drygioni a ddarfu iddynt hwy fwriadu yn ei erbyn ef.

Ar hyny Jacob a lefodd allan, O fy mab Joseph, ti a orchfygaist fy nghalon. A chan ei gofleidio a'i gusanu, efe a ddywedodd, Prophwydoliaeth y nefoedd ynot ti a gyflawnir yn gwbl, mewn perthynas i Oen Duw, ac Achubwr y byd, a bydd i'r difrycheulyd gael ei draddodi dros weithredwyr anwiredd; ac efe yr hwn sydd ddibechod a gaiff farw dros bechaduriaid yn ngwaed ei Destament, er iachawdwriaeth y Cenedloedd, ac Israel hefyd, ac efe a dery Belial a'i holl weision.

Fy mhlant, edrychwch ar ddiwedd y gwr da hwnw, a dilynwch ei drugarogrwydd ef, a meddwl da, fel y caffoch chwithau hefyd goron gogoniant ar eich penau.

Nid oes gan wr da lygad tywyll; canys y mae yn drugarog, ac yn dosturiol wrth bob dyn: ie, er eu bod yn bechaduriaid, ac iddynt ddychymmygu drwg i'w erbyn.

Canys yr hwn sydd yn gwneuthur da, sydd yn gorchfygu y drwg, trwy amddiffyniad daioni, ac yn caru y cyfiawn fel ei enaid ei hun.

Os un arall a anrhydeddir, nid yw yn cenfigenu.

Os un a gyfoethogir, nid yw hyny yn ei flino ef.

Os gwr a fydd gryf neu galonog, y mae ef yn ei ganmol, gan gredu hefyd ei fod yn ddiwair.

Y mae ef yn amddiffyn yr hwn sydd yn ofni Duw; y mae yn cyd-weithio ynghyd, a'r hwn sydd yn ofni Duw, ac yn ei garu ef.

Os bydd i wr ymadael a'r Hollalluog, y mae yn ei rybyddio ef i ddychwelyd drachefn.

Pwy bynag sydd ganddo ras yr Ysbryd da hwnw, y mae efe yn ei garu megys ei enaid ei hun.

Mae ef yn tosturio wrth y tlawd, ac yn cynnorthwyo y gwan, y mae yn gogoneddu ac yn anrhydeddu Duw.

Fy mhlant, os bydd genych feddwl da, dynion drwg a fydd yn eich arswydo, a'r afradlon rhag ei gywilydd a ddychwelir at ddaioni. Ac felly, y rhai cybyddlyd nid yn unig a ymadawant â'u crintachrwydd, ond hefyd a roddant yn helaeth i'r anghenus.

Os byddwch weithredwyr daioni, ysbrydion aflan a ffoant ymaith oddi wrthych, bwystfilod gwylltion a giliant rhag eich ofn; canys lle y byddo gofal am weithredodd da yn y meddwl, oddi yno y mae tywyllwch yn ffoi ymaith; ac os gwna gam ag un dyn, fe a fydd yn ddrwg ganddo: ac os gwr santaidd a gaiff gam, y mae yn tosturio wrth yr hwn a'i gwnelo, ac yn ei roddi i fyny trwy ddystawrwydd. Ac os bydd i un dyn fradychu enaid

cyfiawn, ac i'r cyfiawn weddio dros ei fradychwr, nid bychan a fydd gogan y bradychwr, ond y cyfiawn a ddaw yn fwy hynod ar ol hyny, megys ag y bu i'm brawd Joseph.

Nid oes gan ysbryd drygionus Belial ddim gallu dros feddwl gwr da; canys angel y tangnefedd sy'n cyfarwyddo ei enaid ef.

Nid yw yn edrych yn serchog ar bethau llygredig, nac yn casglu golud ynghyd yn nymuniad trachwant.

Nid ydyw yn ymhyfrydu mewn pleserau.

Nid yw yn blino ei gymmydog.

Nid yw yn llenwi ei hun â bwydydd, ac nid yw chwaith yn crwydro yn malchder ei lygaid; canys yr Arglwydd ydyw ei gyfran ef.

Nid yw yn cymmeryd dim gogoniant, am roddi cynghor da.

Nid yw yn dal sylw pa fodd y byddo dynion yn ei ddi-anrhydeddu ef, ni fedr chwaith fod yn ddichellgar neu faleisus mewn anwiredd, ymrysonedd, ac enllib; canys y mae'r Arglwydd yn preswylio ynddo ef, ac yn goleuo ei feddwl, y mae yn ymlawenychu yn ngolwg pob dyn mewn amser da.

Nid oes gan feddwl da ddau dafod, un i fendithio, ac un arall i felldithio; un i enllibio, ac un arall o brudd-der, un o lonyddwch, ac un arall o flinder; un o ragrith, ac un arall o wirionedd; un o dlodi, ac un arall o gyfoeth: ond y mae ganddo un unig ddosparthiad pur ac anllygredig tuag at bob dyn. Nid oes ganddo na golygon na gwrandawiad dau ddyblyg; canys yn mhob peth ar a wnelo, pa un bynag ai gweled o'i galon ef, ac o herwydd hyny mae efe yn ddifeius o flaen Duw a dyn.

Eithr holl weithredoedd Belial ydynt ddau ddyblyg, ac yn gwbl wrthwyneb i symlrwydd.

Gan hyny, fy mhlant, gochelwch ddrygioni Belial; canys ar y cyntaf y mae'n ddifyrwch i'r sawl a ufyddhant iddo ef, eithr yn y diwedd mae yn gleddyf, ac yn dad i saith drwg. Canys pan feichiogo y meddwl unwaith trwy Belial, y mae yn esgor ar genfigen yn gyntaf, yn ail ar ddibrisrwydd, yn drydydd ar brudd-der, yn bedwerydd ar gaethiwed, yn bummed ar anghen, yn chweched ar boenau, yn seithfed ar anghyfannedd-dra; ac o herwydd hyny, Cain a gystuddiwyd â saith o geryddon gan Dduw; canys dros saith mlynedd olynol, Duw a ddygodd blâau o newydd ar Cain, dau can mlynedd y dyoddefodd, ac yn mhen naw can mlynedd, y ddaear a wnaed yn anghyfannedd trwy y diluw, er mwyn Abel gyfiawn ei frawd ef. Ac yn y seithfed gan mlynedd Cain a farnwyd, a Lamech yn y ddeg a thriugain, seith waith; canys y neb sydd debyg i Cain mewn casineb a chenfigen tuag at ei frodyr, a geryddir â'r unrhyw gerydd yn dragywydd, megys yntau.

Gan hyny, gochelwch falais, llid. a chenfigen tuag at eich brodyr, glynwch wrth ddaioni a charedigrwydd: yr hwn sydd ganddo feddwl glân mewn cariad, nid ydyw yn edrych ar wraig mewn ffordd o drythyllwch, o herwydd nad oes halogrwydd yn ei galon ef, canys Ysbryd yr Arglwydd sydd yn gorphwys arno:

canys megys ag y mae yr haul heb ei halogi er iddo dywynu ar y pwll neu y domen, ond yn hytrach, y mae ef yn sychu i fyny, ac yn gyru ymaith y drewi, felly y mae meddwl pur yn ymdrech yn erbyn aflendid y ddaear, ac yn ei orchfygu, ac heb halogi ei hunan.

Ac yr ydwyf yn deall wrth leferydd Enoch y cyfiawn, y bydd gweithredoedd drygionus yn eich mysg chwi, a chwi a halogwch eich hunain â godineb Sodom, ac fe dderfydd am danoch, oddieithr ychydig, a chwi a gynnyddwch mewn chwantau afreolus tuag at ferched ; a theyrnasiad yr Arglwydd a'i cymmer ei hun ymaith yn brysur.

Er hyny, teml yr Arglwydd yn eich rhan chwi a wneir, ac a fydd yn ogoneddus yn eich mysg.

Canys yr Arglwydd ei hun a gymmer y deyrnas arno ei hunan, a'r deuddeg llwyth a gesglir ynghyd, a'r holl Genedloedd a ymgynnullant yno, hyd oni ddanfono y Goruchaf ei iachawdwriaeth yn ymweliad ei unig Genedlig.

Ac efe a â i'r deml yn gyntaf, ac yno y bydd i'r Arglwydd oddef cam a'i ddirmygu, a'i godi ef i fyny ar ddarn o bren. A llen y deml a rwygir, ac ysbryd yr Arglwydd a ddaw i lawr ar y Cenedloedd, ac a dywelltir allan fel tân ; a chan gyfodi i fyny o'r bedd, efe a ymddyrchafa o'r ddaear i'r nefoedd ; ac efe a gofia mor ddirmygus fu ef ar y ddaear, ac mor ogoneddus ydyw ef yn y nefoedd.

Pan ydoedd Joseph yn yr Aifft mi a hiraethais am weled ei gorff ef, a gwedd ei wynebpryd ef, a thrwy weddiau fy nhad Jacob, mi a'i gwelais ef yn effro yn nydd cyfiawnder perffeithrwydd ei wedd ef.

Gan hyny, fy mhlant, gwybyddwch y bydd i mi farw : o herwydd hyn bydded i bob un ddelio yn union a'i gymmydog ; a chan weithredu yn uniawn ac yn ffyddlawn, cedwch chwi gyfraith yr Arglwydd ; canys hyny yr ydwyf yn ei ddysgu i chwi yn lle pob etifeddiaeth ; a rhoddwch chwithau y cyfryw i'ch meibion yn feddiant tragywyddol.

Canys felly y gwnaeth Abraham, Isaac, a Jacob, hwy a roddasant i ni yr holl bethau hyn yn etifeddiaeth, gan ddywedyd, Cedwch chwi orchymynion yr Arglwydd hyd oni byddo iddo ef ddadguddio ei achubawl Iachawdwriaeth i'r holl Genedloedd. Yna y cewch chwi weled Enoch, Noah, Sem, Abraham, Isaac, a Jacob, yn eistedd ar ei ddeheulaw mewn llawenydd.

Yna y bydd i bob un o honom gyfodi at ei deyrn-wialen, gan addoli Brenin y nefoedd, yr hwn a ymddangosodd ar y ddaear mewn gwael agwedd dyn.

A chynnifer ag a gredant ynddo, a orfoleddant gydag ef yn yr amser hwnw, a'r holl rai hyny a gyfodant drachefn i ogoniant, a'r lleill i gywilydd.

A'r Arglwydd yn gyntaf o gwbl a farna Israel am yr anghyfiawnder a wnaed yn ei erbyn ef, oblegid na chredasant yn Nuw, yr hwn a ddaeth mewn cnawd i'w gwared.

Yna y barna efe yr holl Genedloedd, a chynnifer ag ni chredant ynddo pan yr ymddangoso ar y ddaear. Efe a argyhoedda Israel yn mysg etholedigion y Cenedloedd, megys ag yr argyhoeddodd efe Esau yn y Midianiaid, yr hwn a hudodd ei frodyr drwy odineb at eulun addoliaeth, y rhai oedd wedi ymddyeithrio oddiwrth Dduw, a syrthio ymaith oddiwrth etifeddiaeth y plant o herwydd nad ofnasant Dduw.

Os chwi a rodiwch mewn santeiddrwydd o flaen yr Arglwydd, chwi a breswyliwch drachefn mewn gobaith ynof, a holl Israel a gesglir at yr Arglwydd, ac ni'm gelwir mwyach yn flaidd rheibus o herwydd eich hyspail chwi, eithr mi a elwir yn weithydd i'r Arglwydd, yr hwn sydd yn rhoddi ymborth i'r cyfryw ag a wnelont ei ewyllys.

Ac yn fy had y cyfyd ef i fyny Anwylyd yr Arglwydd, lleferydd pa un a glywir ar y ddaear, ac efe a rydd wybodaeth newydd, ac a oleua yr holl Genedloedd â goleuni dealltwriaeth, ac a ddaw i fyny i achub Israel.

Ac a gymmer oddi wrthynt eu synagog ac a'i rhydd i'r Cenedloedd, ac a gyfannedda yn synagog y Cenedloedd hyd ddiwedd y byd.

Ac a fydd yn mysg eu tywysogion megys hyfryd gerdd yn ngenau yr holl bobl, a'i weithredoedd ef a'i ymddyddanion a ysgrifenir mewn llyfrau santaidd.

Fy nhad Jacob a'm dysgodd o'i blegid ef, gan ddywedyd, Efe a ddiwygia feiau dy lwyth.

Ac efe a fydd Anwylyd yr Arglwydd yn dragywyddol.

A phan orphenodd efe lefaru y geiriau hyn, efe a orchymynodd i'w blant gario ei esgyrn ef allan o'r Aifft, a'u claddu hwy yn Hebron gyda'i dadau. Feily Benjamin a fu farw yn y ganfed a'r bummed ar hugain o'i flynyddoedd mewn oedran teg; a hwy a'i rhoddasant mewn arch, ac yn mhen yr unfed ar ddeg a phedwar ugain o flynyddoedd cyn ymadawiad yr Israeliaid allan o'r Aifft, hwy a'u brodyr a ddygasant yn ddirgel esgyrn eu tad i dir Canaan, ac a'i claddasant yn Hebron, wrth draed ei dadau: ac a ddychwelasant yn ol o dir Canaan, ac a arosasant yn yr Aifft hyd ddydd eu hymadawiad yn nghyd.

---

## EPISTOL PAUL YR APOSTOL AT Y LAODICEAID.

1 PAUL, Apostol, nid o ddyn, na thrwy ddyn, eithr trwy Iesu Grist.

2 At y brodyr y rhai sydd yn Laodicea: gras a thangnefedd a fyddo gyda chwi oddiwrth Dduw'r Tad, a'r Arglwydd Iesu Grist.

3 Yr ydwyf yn diolch i'm Duw yn fy holl weddiau, am eich bod yn aros yn ddisigl ynddo ef, ac yn ei holl waith, gan ddysgwyl am ei addewidion ef hyd ddydd y farn.

4 ¶ Na huder chwi trwy rai siaradus anfuddiol, y rhai sydd yn myned oddi amgylch i beri i chwi gwympo oddiwrth yr Efengyl yr hon a bregethwyd i chwi trwof fi.

5 O na ba'i i'r rhai a ddysgwyd genyf allu gwasanaethu er budd i Efengyl y gwirionedd, a dyfod yn ddiwyd mewn gweithredoedd da i fywyd tragywyddol.

6 ¶ O hyn allan yr amlygir fy rhwymau, y rhai yr wyf yn eu dyoddef er mwyn Crist.

7 O herwydd paham yr ydwyf yn llawenychu yn fy nghalon, ac yn ei gyfrif yn iachawdwriaeth dragywyddol.

8 Fel y gwelid hyny trwy eich gweddiau chwi, a thrwy weithrediad yr Ysbryd Glân, pa un bynag ai trwy fywyd, ai trwy farwolaeth.

9 Canys y mae genyf ewyllys a llawenydd mawr i farw yn Nghrist, yr hwn drwy yr unrhyw drugaredd a rydd i chwi gael yr unrhyw gariad, i fod o un meddwl.

10 ¶ Gan hyny, frodyr anwyl, megys ag y clywsoch pan oeddwn gyda chwi, hyny cedwch a gorphenwch yn ofn Duw, felly y cewch chwi fywyd tragywyddol; canys Duw a'i gweithia ac a'i perffeithia ef ynoch chwi yn ddioed.

11 ¶ Anwylyd, ymlawenhewch yn yr Arglwydd, a gochelwch y rhai sydd yn chwennych ar ol budr elw.

12 Gwneler eich gweddiau chwi yn hysbys i Dduw, ac aroswch mewn sicr wybodaeth o Grist.

13 A gwnewch yr hyn sydd gymhesur a gweddol, uniawn a rhesymol, a'r hyn a glywsoch ac a dderbyniasoch, hyny cedwch yn eich calonau, felly y cewch chwi glod.

14 Gras Duw, a'n Harglwydd Iesu Grist, a fyddo gyda eich hysbrydoedd chwi oll. Amen.

¶ Perwch ddarllen yr Epistol yma i'r Colosiaid, a darllenwch chwithau yr un a 'sgrifenwyd. Col. 4, 16.

[Epistol Paul at y Loadiceaid a gafwyd yn y Bibl hynaf a'r a gyfieithwyd yn Worms, Germany.]

---

## AT YR EGLWYSI.

Anwyl Frawd Davis,—Hysbyswch trwy yr Udgorn y cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg, yn Merthyr, ar y 6fed o Orphenaf; sir Fynwy, yn Nhredegar, ar y 13eg; Morganwg

Orllewinol, yn Abertawy, ar y 20fed; sir Gaerfyrddin, yn Nghaerfyrddin, ar y 27ain; a sir Abertefi, ar y 3ydd o Awst.

Anwyl Frodyr,—Y rhai sydd yn bwriadu ymfudo yn mis Medi nesaf, bydded i chwi ddanfon eich blaen-daloedd yma i ni mewn amser, ynghyd â'ch cyfarwyddiadau, celfyddydau, a'ch enwau, fel y gallwyf yru gwybodaeth i chwi mewn pryd, am yr amser sydd i chwi fod yn Liverpool, neu yn Abertawy. Nid ydyw yn ddoethineb i'r rhai sydd yn bwriadu myned rhag eu blaen i'r Dyffryn, i fyned yn mis Medi, ond yn Ionawr; o herwydd y bydd yn rhaid iddynt aros ychydig o fisoedd yn St. Louis, o achos y rhew ar yr afonydd.

Mae arian y Drysorfa Ymfudol i fod i mewn yma erbyn y 24ain o'r mis hwn, a gofaled pawb am eu gyru, ynghyd ag enw Trysorydd pob Cangen a'i gyfarwyddyd, erbyn yr amser uchod.

14, *Castle St., Merthyr Tydfil.* WM. PHILLIPS.

---

## HELYNT YR EGLWYS YN SIR FYNWY.

*Tredegar, Mehefin* 6, 1851.

ANWYL FRAWD PHILLIPS,—Mewn llawenydd yr wyf yn ysgrifenu atoch, gan obeithio eich bod wedi dychwelyd yn iach, ac wedi mwynhau mwy o gyflawnder o lawenydd ac o orfoledd yn eich taith yn mhlith etholedigion Duw nag erioed.

Rhoddaf yn awr ychydig o hanes y Gynnadledd hon. Y mae yma undeb cyffredinol, ac argoelion da am lawer i ufyddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. Yr ydym yn ddiweddar wedi agor tair Neuadd mewn lleoedd cyfleus, ac y mae lluoedd o bobl yn ymgasglu i glywed beth sydd genym i ddweyd dros ein crefydd. Un o honynt a agorwyd ar y 25ain o Fedi yn y Coedduon, a bedyddiwyd pedwar yno mewn canlyniad i hyny; ar yr un dydd bu tri bedydd cyhoeddus, un yn Nantyglo, un yn y Blaenau, ac un yn Kendle; pryd y cafwyd cyfleusdra i bregethu i gannoedd o bobl. Y Sul canlynol fe agorwyd Neuadd y Belle Vue Inn, rhwng Victoria a Phenycae, lle y cafodd yr Henuriaid Dewi Elfed Jones a David Rees gyfleusdra i ddal eu tystiolaeth i gannoedd o bobl. Yr oedd y Neuadd yn orlawn o wrandawwyr yn y boreu, a llawer yn methu dyfod i mewn. Am ddau, penderfynwyd pregethu yn y ffenestr, fel y gellid boddloni y

dyrfa oddifewn ac oddiallan; yr oedd o fil i bymtheg cant yn gwrandaw, a llawer mwy am chwech. Pregethwyd yn ystod y dydd yn Gymraeg a Saesneg, a chafwyd gwrandawiad astud; ac y mae tystiolaeth yr Henuriaid Jones a Rees wedi achosi cynhwrf yn mhlith y bobl, a bedyddiwyd amryw wedi hyny. Yr ydym yn bwriadu agor Capel a dwy Neuadd yn fuan etto. Bwriadwn agor un o honynt ar y 15eg o'r mis hwn, pryd y dymunaf fi, a'r Saint, ac amrywiol o'r Bedyddwyr, weled Dewi Elfed yno os bydd yn bosibl. Ydwyf, eich gostyngedig frawd,

THOMAS GILES.

---

## CAN NEWYDD.

TON—" Aderyn Pur."

PAN ddelo'r Saint oll adreu'n nghyd,
  I hyfryd fynydd Seion,
A dod dan foli Duw ein Naf,
  Heb neb yn glaf ei galon;
Fe fydd pawb o'r ffyddlon Seintiau,
Heb un cur o fewn eu corau;
Hwy gânt yno fyw'n ddiflino,
Heb neb wed'yn idd eu gwawdio,
  Ond moli'n hy, eu Crewr cu,
Mewn canu, heb ddim cwyno.

Mae arnaf awydd am y fraint,
  Fyn'd at y Saint i Seion,
Lle na fydd tristwch yn eu plith,
  Nac un rhyw rhith o 'mryson;
Fe geir clywed llais y llwythau
'N canu'n beraidd hwyr a boreu;
Seiniant glodydd mewn gwlad newydd,
Heb waradwydd am Waredydd;
  Gwyn fyd na bawn i yn ddilyth
Yn mhlith y dyrfa ddedwydd.

Mi wn y daw fy Mhrynwr llon,
  I Seion i deyrnasu,
I blith y patriarchaidd lu,
  Ca miloedd eu canmoli;
O mor siriol fydd y Seintiau,
Yno'n gwisgo heirdd goronau,
Heb un gelyn yno'n ddychryn,
Pawb yn effro trwy y Dyffryn;
  Ac, O'r dedwyddwch fedd pob Sant,
Sef breinniol blant y Brenin.

*Aberamman.* THOS. PHILLIP.

## AMRYWIAETHAU, &c.

CYMMANFA LLUNDAIN.—Cawsom yr hyfrydwch o fod yn bresennol yn nghymmanfa Llundain, ar y laf o'r mis hwn, lle yr oedd pedwar o'r Apostolion, ynghyd â lluoedd o henuriaid o bell ac agos, wedi ymgasglu. Treuliwyd y dydd yn ddyddorawl iawn, ac ni ellid yn hawdd ei dreulio yn well. Dydd Llun, ymgynnullodd oddeutu 1200 i'r Freemasons' Hall, i gyfranogi mewn gwledd, yn debyg i'r rhai a gynnelir yn y Dyffryn. Efallai y cawn achlysur i fanylu yn ein nesaf. Digon yw dweyd yn bresennol i ni a'n brodyr Phillips a Pugh deimlo wrth ein bodd, tra yn syllu, gwrandaw, a siarad, yn nghyfeillach y Saint oedd wedi ymgynnull yn Llundain, yn nyddiau "ffair y byd."

CANGEN Y CEFN.—Dydd Sul diweddaf, agorwyd adeilad at wasanaeth y Saint yn Cefncoedycymmar, pryd y cafwyd cyfarfodydd da trwy y dydd. Galwyd y lle "Y Gangen," yr hon a adeiladwyd gan un o'r brodyr, ac yn alluog i gynnwys oddeutu 200 o wrandawwyr.

YR ARDDANGOSFA FAWR.—Os ydych am weled rhyfeddodau y byd heb ei deithio, cerddwch oddeutu pymtheg milltir tu fewn i'r Palas Gwydr. Priodol oedd ei wneuthur o wydr, canys efe yw drych y byd, yn yr hwn y gwelir diwydrwydd a chywreinrwydd cenedloedd y ddaear.

NID oes ond ychydig o ddynion a wyddant y ffordd i fod yn segur a diddrwg; canys trwy wneuthur dim yr ydym yn dysgu gwneyd drwg.

CYNNIFER o ddyddiau ag ydym yn dreulio heb wneuthur dim ag sydd yn dda, ydynt yn gymmaint â hyny o ddyddiau wedi eu llwyr golli.

PA beth bynag a ddymunaf, yr wyf bob amser yn ei gael, canys nid wyf yn dymuno dim ond yr hyn a allaf gael.

---

"E. M."—Mewn perthynas i'r ffurf o weddiau yn y cymun, gwell yw dilyn y cyfieithad diweddaf. Bydded yr Ath. a'r Cyf. yn safon i bawb. Diolchwn i E. M. am sylwi; eithr y mae mwy o bwys yn yr ysbryd nag yn y lythyren.

"G. WATKIN."—Gwell i chwi ysgrifenu i Aberamman, at y dynion eu hunain, a danfon stamp yn eich llythyr.

TALIADAU O FAI 29 HYD MEH. 12.—Morganwg Orllewinol, £3 9s 3d; Sir Benfro, £1; Cwmbach, £2 14s; Caerdyf, £3 1s 8c; Hirwaun, 7s; Georgetown, £2 6s; Pendaren, £1 4s 6c; Merthyr, £1 6s; Cefn, 19s; Cyfanswm, £16 7s 5c.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr,*

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 13.] MEHEFIN 28, 1851. [PRIS 1g.

## HANES TAITH O DDINAS Y LLYN HALEN FAWR, AM BEDWAR CANT A HANNER O FILLTIROEDD I'R DEAU [ODDIWRTH CAPT. D. JONES].

*San Pete, Mawrth,* 1851.

ANWYL FRAWD DAVIS,—Efallai nad annifyr, nac ychwaith annefnyddiol, fydd rhoddi yr hanes canlynol i'r Saint Cymreig, pa rai yn ddiau ydynt awyddus am bob hanesion am y parthau hyn o'r byd, lle y sugnir eu serch; o'r hyn leiaf, felly y teimlwn i tra yna, ac felly etto. Ac er mor belled oddiwrthynt yr wyf yn awr, nid yw fy awydd i'w difyru a'u llesoli un gronyn llai nag erioed; eithr o'r ochr arall, po fwyaf a ganfyddaf o fanteision i'w llesoli yn dymmorol neu yn ysbrydol, mwyfwy y cynnydda fy awydd innau iddynt hwy yn anad pawb i gael y cyfryw fanteision; a'm meddwl yw o hyd, fel Paul gynt, na fydd fy neddwyddwch innau yn berffaith, heb fod yn eich cwmni chwithau oll hefyd. Ond, at yr hanes.

Yr wythnos ag y tiriais yn Ninas y Llyn Halen Fawr o Gymru, hysbysodd ein parchus Lywydd B. Young i fyfi ei gyfrinach, ei bwrpas, a'i drefniadau o barthed i sefydlu dyffrynoedd y mynyddoedd, &c., ac adroddodd i mi dystiolaethau difyrus a gawsai gan deithwyr am y gainc ysgythredig hono o hil Gomer a elwir y Madociaid; ac efe hefyd a'm cynghorodd i fyned gyda'r cwmni a oedd efe yn fwriadu anfon i'r deau yn fuan; yr hyn a lawenhaodd fy nghalon yn fawr. Dyben arall oedd i'r orymdaith hon, oedd chwilio allan hyd y gallem pa mor uchel y gellir mordwyo yr afon Rio Colorado, ynghyd â chwilio ansawdd dyffrynoedd ac afonydd, &c., y mynyddoedd tragywyddol hyn.

Tachwedd 22, 1849.—Yn unol â'r darpariadau blaenorol, cychwynodd y mwyrif o'r cwmni o'r ddinas i ymgyfarfod, a rheoleiddio y gatrawd 12 milltir i'r deau, eithr lluddiwyd fi i gychwyn hyd y 24ain, trwy fy mod yn sefydlu y gwahanol deuluoedd Cymreig yr ochr draw i'r Iorddonen, ac yn rhanu iddynt eu hetifeddiaethau yn ol eu hanghenion. Mawr y wylo a'r galaru yr oeddynt ar fy ymadawiad. Yr oeddwn i wedi eu sefydlu yn gyfeillach Gymreig cyn hyny, a gosod llywyddion arnynt; ac yr oeddynt oll braidd wedi adgyweirio eu cyfammodau trwy feddydd, &c., ac yn y cyrddau Cymreig yr oedd mwy o undeb ac o Ysbryd Duw nag a welais yn ein plith er pan gychwynais o Gymru.

Y dydd cyntaf, daethym i'r fan lle y dysgwyliwn gyfarfod y cwmni, eithr yr oeddynt oll ond fy hunan wedi myned oddi yno ers deuddydd. Arosais yno y noson hono, a thranoeth cychwynais yn unig ar eu hol. Yr oedd wedi bwrw eira drwy y nos, ac yn parhau i fwrw pan gychwynais, fel ag yr oedd y ffordd yn hollol anamlwg, oddieithr y gwelwn frigau y gwair ar bob ochr, a dim yn yr heol; nid oedd na thrigiannydd na thy, na dysgwyl am deithiwr ar fy ffordd, am dros driugain milltir. Yr oedd yn fath niwl, fel na welwn nemawr o'm hamgylch; ac er fod ereill yn ceisio genyf i beidio ag anturio, nid oeddwn i gael fy nigaloni er hyn; yn mlaen yr aethym ar gefn ceffyl, ac un arall a arweiniwn, yr hwn a gludai fy nillad, gwely, &c. Aethym yn mlaen heb nemawr daro am tua 15 milltir, pan y canfyddais groes-ffyrdd yn ddiddysgwyl; anturiais ar hyd y ganol o'r tair, yr hon cyn hir a'm twyllodd trwy ddiflanu o'm golwg. Troais yn ol i dreio un o'r lleill, a dilynais ar y ddeau, yr hon, yn mhen yspaid, a'm harweiniodd dros geulan serth, ac i gorsydd a llaid, lle y suddai y ceffylau hyd eu garau; eithr yn mlaen ymrwyfais trwy ddwfr cymmysgedig a llaid, ac eira, hyd nes i'r heol neidio ar ei phen dros geulan i afon fawr a dwfn, yr hon nis gwelais ond mewn pryd i arbed trochfa ynddi. Cymmerais yr hint yn awr nad honyw y ffordd iawn ychwaith, ac aethym yn ol goreu a allwn, weithiau y ceffylau, weithiau finnau yn isaf. Gwnaeth y ceffylau, druain, eu rhan yn dda i ddod allan yn fyw o'r fath gorsydd, pan nas gwelent hwy na minnau ddegllath o'n hamgylch. Nid oedd fy sefyllfa unigol ac anial i'w chwennychu yn awr; canys, pe collwn lawer o amser yma, a'r gwersyll yn teithio yn mlaen, rhag-

welwn mai yn yr eira oer y byddai fy ngwely heno, heb dân na dim i'w gynneu; a phe felly, os diogel rhag yr anwar drigolion a grwydrant ar hyd y wlad, nid cwmni mor fwyn fyddai y bleiddiaid danneddog, pa rai oeddynt eisoes yn wban ar eu gilydd i gasglu eu byddinoedd ynghyd yn ddigon lliosog i gymmeryd y crwydryn yn garcharor. Yn awr gelwais ar fy Nhad i'm tywys i neu'm hanifeiliaid i'r iawn ffordd; yr hwn, fel arfer, clod fo i'w enw, a atebodd i'm galwad, canys yr olaf, ar ol cael yr awenau, a'm dygasant i odreu rhiw serth a garw; ar frys dringasant hon nes cyrhaedd ei phen, ac yna i waered o glogwyn bwy gilydd drosti. Yn ngwaelod hon y rhedai afon fach anhawdd ei chroesi, ond wrth ddilyn ei glanau am ennyd cefais fan diogel, a chyn hir cefais fy hun ar yr ucheldir drachefn, heb heol fyth, na chwmpawd, na dim ond nefoedd uwchben i ddysgwyl wrtho. Bloeddiais drachefn, ac yn uwch na chynt, "O Dad, pâr chwa o rywle i chwalu y niwl a'r eira," yr hon ar yr alwad a ddaeth, a pheidiodd yr eira, a chlywais wehyriad march nid neppell oddiwrthyf; pan yn myfyrio beth allasai fod, ai ceffyl yn ngholl fel finnau, ai a oedd marchog iddo; ynte ai angel o'r nef yn waredwr a ddaeth: drachefn a thrachefn y gwehyriad, ac atebwyd yn ol gan fy meirch a minnau am yr uchaf, ac yn galonog prancient i'w gyfarfod. Daeth chwa o wynt a chwythodd y niwl i ffwrdd; yna gwelem dri marchog ar feirch ar ein cyfer! Y rhai hyn oeddynt deithwyr tuag Utah; cyd-deithiais â hwynt nes y deliais fy nghwmpeini fy hun, a mawr y llawenydd oedd cyfarfod, canys yr oeddynt yn fy aros ar yr Afon Helyg. Gyda llawenydd croesawyd fi i'r gwersyll, a chychwynasom oddiyno i ddringo rhiw serth, yr hwn a wahana Ddyffryn y Llyn Halen Fawr a Dyffryn Utah. Oddiar ben uchaf hwn, cymmerasom yr olygfa olaf ar Ddinas y Llyn Halen a'i thrigolion yn y pellder. Disgynasom yn raddol ar hyd heol ragorol yr ochr ddeau, a gwersyllasom ar yr Afon Sech yn Nyffryn Utah.—Cynnwysa ein gwersyll ddeuddeg o bedrolfeni a lusgid gan ychain, a cherbyd genyf fi a P. P. Pratt, yr hwn a lusgid gan bedwar o geffylau; meddem hefyd tua ugain o geffylau a phymtheg o fulod marchogaeth, a 47 o wyr dewr ac arfog, un magnel pres ar olwynion, saith o anifeiliaid tewion i'w cigydda fel bo anghen, ac ymborth am bedwar mis. Ar un o'r pedrolfeni yr oedd ffordd-fesurydd, yr hwn a droid gan yr olwyn, hin-fesurydd, ac offerynau astronomyddol, &c.

— 26.—Teithiasom ar hyd ochr y dyffryn hardd hwn; Llyn Utah ar y deau i ni, hyd yr hon sydd tua 30, a'i lled yn 10 o filltiroedd, o ddwfr croew a chlir, a llawer o bysgod. Croesasom amryw afonydd mwy neu lai heddyw, ar lanau pa rai y mae y coed yn brin, eithr y tir yn fras a helaeth, a manteisiol i amaethyddiaeth.

— 28.—Tua chanol dydd croesasom yr afon Provo, yr hon sydd tua 103 troedfedd o led a dwy droedfedd o ddyfnder, yn arllwys o'r bryniau dwyreiniol i'r llyn yn y gorllewin. Ar lan ddeheuol hon sefydla o dri i bedwar cant o Saint: adeiladasant amddiffynfa ysgwar o dai coed, tuag ugain bob ochr, a dau borth llydan; cynnwysai y cauad tua dwy erw o dir. Llafuriant tua 600 erw yn un cauad, ac y maent yn gwneyd yn dda hyd yn hyn, a chawsant gnydau toreithiog. Pellder o Ddinas y Llyn Halen, 46 eiliad. Gwersyllasom ar Spring Creek, 12 eiliad i'r deau: yr eira bron diflannu. Ar lan yr afon nesaf, sef Hobble Creek, mewn gwlad hyfryd a ffrwythlawn, cyfarfuom â llwyth o Indiaid, a elwir yr Utahs, pa rai a ladratasant oddiarnom ych tew, ac a ddiangasant yn ddirgel. Gwnant eu cabanod o helyg neu *sage*; a chan eu bod yn crwydro o fan i fan, yn ol y cant helwriaeth, ni adeiladant i'w cyfanneddu yn hir. Eu gwisgoedd ydynt o grwyn buffaloes, pa rai a gant gan y brodorion deheuol, neu o wrthbanau a gant gan y Mormoniaid, &c. Nid oes dim dymunol ynddynt, druain, ond eu bod yn feddiannol ar eneidiau anfarwol, ac yn hiliogaeth cenedl rymus, i ba rai y rhoddwyd addewidion mawr gynt; wele yma ynddynt hwy gyflawniad llawer o brophwydoliaethau yn ddiau; canys llawer a ddywedwyd y dygid had Ephraim i ymgrymu hyd y llwch, ac yr ymgrymid hwynt hyd y ddaear,—y byddai i'w "llais hustyng o'r llwch," &c. Nid all un dyn diduedd ammau geirwiredd Llyfr Mormon, ar ol deall iawn gymmeriad ac hanesyddiaeth y gweddillion hyn, debygaf.

— 29.—Croesasom afon tua 10 llath o led, a throedfedd o ddyfnder, yr hon a reda ar hyd y wahanlen o dir rhwng y cwr deheuol i Ddyffryn Utah a'r cwr gogleddol i ddyffryn Joab. Hyd fforddia glanau yr afon hon gryn lawer o goed tanwydd; a cheir oddiyma olygfa eang i'r gogledd dros holl Ddyffryn Utah, ac i'r deau am ugeiniau o filltiroedd ar ei hyd, a thua 10 neu 15 o led, Gwelir Dyffryn ag sydd yn anhawdd gweled ei harddwch, na'i

well o ran gorweddiad a natur y tir, ond prinder ei goed sy'n cwttogi ei werth.

Tua 15 eiliad cyn cyrhaedd y cwr deheuol i'r dyffryn hwn arweinia y ffrodd i San Pete, yr hwn a reda drwy kanyon rhwng mynyddoedd uchel, am tua 18 eiliad, o ba le y rheda afon fychan o ddwfr oer a grisialaidd. Yn y kanyon hwn y mae mynydd o halen o liw cochlyd a chaled, ceir ef o ogof a reda o tan y mynydd halen; gerllaw iddo, y mae spring yn berwi ei dwfr heli i'r lan, yr hwn pan geulo yn yr haul a ddyry geunen o halen gwyn blasus a da. Casglasom yma ddigon at ein gwasanaeth.

— 30.—Cyrhaeddasom gŵr dyffryn San Pete, yr hwn sydd helaethach na'r dyffrynoedd a nodwyd o lawer. Yn awr, o'n blaen i'r deau gwelir un ddôl fras a gweiriog, am 50 eiliad; mae'n debyg yr olwg i rai dolydd a welais yn hen wlad fy nhadau, cyn y cynauaf gwair, ond yn fwy. Rheda amryw o afonydd ac aberoedd drwyddo, o ba rai y gellir dwfrhau y rhan fwyaf o hono; y fwyaf o ba rai a elwir afon San Pete, a reda o'r gongl ogleddol yn wyrgam ar ei hyd; o ba le yr estyna y dyffryn ei droed amryw filltiroedd tu hwnt i'r trwyn uchel o gedrwydd ar ein haswy; estyna ei droed arall i'r gongl ogledd orllewinol cyn belled; o'i amgylch amgeuir ef gan restr o fynyddau uchel, tu hwnt i ba rai ni welir ond yr awyr las, heb gwmwl gymmaint "â chledr llaw gwr" i dduo ei wynebpryd hyfryd. Mae y dyffryn hwn 20 eiliad o led weithiau, ac yna culha yn raddol tua'r deau, lle y gogwydda ei ben o'i ysgwyddau i fyny, tua'r de orllewinol, ar fynwes rhestr o fynyddau mawreddig eilwaith ag a roddant i'r dyffryn hwn ymddangosiad o fyd bach ar ei ben ei hun, a dystawrwydd oesawl yn teyrnasu ar ei orsedd ynddo; oddieithr ambell frodor anwar neu flaidd a grwydrant am ysglyfaeth—y pysg yn ei afonydd, neu ambell gwningen, cyn wyned â'r eira, a neidia o'i lloches mewn braw, gan syllu yn ein wynebau, fel pe yn gofyn, Pwy yw yr aflonyddwyr dyeithr hyn, a pheth a fynant? Dyma y fath oedd y dyffryn hwn fel llaweroedd o ddyffrynoedd ereill, pa rai, a lochesid yn nghelloedd y mynyddoedd tragywyddol hyn, hyd nes y tiriodd yma, ychydig ddyddiau yn ol, wersyll o Saint i sefydlu yn ei gwr deheuol, i gymdeithas roesawus pa rai y cyrhaeddasom Rhagfyr 3; arosasom gyda hwy yma hyd y 5fed, a chawsom bob cymhorth a allent roi i ni. Isaac Morley sydd yn llywyddu

yma, a chydag ef tua 50 o deuluoedd. Nid ydynt wedi cael amser i adeiladu, eithr y mae chwarel o geryg rhagorol i adeiladu ar eu pwys, afon yn rhedeg trwy eu dinas fwriadol, ac fe'i hamgylchynir, ond, yn y dwyrain, lle y mae y mynyddoedd, â miloedd lawer o erwau o dir ffrwythlawn; y mae yma lawnder o goed tanwydd yn hawdd eu cael ar hyd odreu y bryniau, a digon o goedydd at adeiladu, &c., yn y kanyons cyfagos, yr hyn sydd yn fendith anhawdd ei chael yn y cyffredin o'r dyfrynoedd hyn. Cawsom yma ychwanegiad o dri o ddynion i'n gwersyll. Pellder y fan hon o'r Llyn Halen Fawr yw 130½ eiliad.

(*I'w barhau.*)

---

## BEDYDDIO DROS Y MEIRW.

ANWYL FRAWD DAVIS,—Ar y 3lain o fis Mai diweddaf, cefais y fraint o glywed ychydig o sylwadau ar y pwnc o fedyddio dros y meirw, ac i weled hyny hefyd yn cael ei gyflawni, gan un o weinidogion parchus y Methodistiaid (sef y Parch. Wm. Evans, Tonyrefail), ar yr achlysur o gladdu gwraig un Thomas Jenkins, Dinas, a bedyddio ei baban, yr hyn a gyflawnwyd yn y capel, tra yr oedd y corff yn gorwedd ar yr elor yn yr ymyl. Y Parch. Mr. Evans a lefarodd fel y canlyn:—"Yr wyf yn awr yn myned i fedyddio dros y meirw. Yr ydym yn cael yn yr ysgrythyrau fod Paul yn sôn am fedyddio dros y meirw; yr ydym ninnau yn myned i wneuthur hyny yma heddyw. Yr oedd llawer o'r hen dduwiolion yn cael eu merthyru, a phan yr oeddynt yn cael eu lladd yr oedd rhai ereill yn dyfod yn mlaen ac yn dywedyd, Cymmerwch fi yn eu lle, ac fel hyn yr oeddynt yn eu bedyddio dros y meirw hyny. Ac fe welwn ninnau yma fod y saeth wedi myned at galon y fam, ac wedi ei symud hi i fyd arall; a thyma ninnau yn cymmeryd ei baban bach, ac yn ei fedyddio dros y farw hon, fel y byddo iddo ddyfod i sefyll yn yr adwy yn ei lle hi," gan dasgu dwfr oddiwrth ei law dair gwaith i'w wyneb, "yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân. Amen."

*Dinas.* THOMAS DAVIES.

[Dymunwn ar y gohebydd i'n hysbysu pan fyddo y baban uchod yn cael ei fedyddio drosto ei *hunan*, canys nid oedd y bedydd a gafodd ond yn unig dros ei *fam*.—GOL.]

## GWELLHAD LLOSGIAD.

ANWYL FRAWD DAVIS,—Yr wyf fi, Morgan Williams, yn cymmeryd y cyfleusdra presennol i ysgrifenu atoch, i'ch hysbysu yr hyn sydd wedi dygwydd i mi yn y dyddiau hyn; ac os gwelwch ef yn fuddiol i osod yn eich UDGORN clodwiw, y mae at eich gwasanaeth. Yr oeddwn yn gweithio mewn pwll glo yn ngweithiau haiarn Tòn-ddu, ar foreu y 15fed o Fai, 1851. Oddeutu wyth o'r gloch, cefais fy llosgi gan y *damp*, dros fy holl wyneb, a'm braich chwith o'm penelin i lawr hyd at ganol fy mysedd. Daethym i fyny allan o'r pwll, a'm cydweithwyr gyda mi; ac yr oeddynt hwy am osod yr olew sydd yn y gwaith ar fy ngwyneb a'm braich, ond mi a'u rhwystrais. Aethym adref mor fuan ag y gallwn, ac yn unol â dysgeidiaeth yr Apostol Iago, danfonais am henuriaid yr eglwys, a daeth Thomas Llewellyn, yr hwn oedd gartref ar y pryd, ataf, ac eneinniodd fi ag olew cyssegredig yn enw Iesu Grist, a gosododd ei ddwylaw arnaf, gan geryddu y tân allan o'm gwyneb a'm braich; a mi a dderbyniais y fendith, ac a ddychwelais i'r gwaith yn uniongyrchol, ac a weithiais fy niwrnod gwaith, a'r dyddiau canlynol, fel arferol. Mae hyn wedi achosi cynhwrf mawr yn y lle. Dywedai rhai fy mod yn ffol, a'm bod heb deimlad, o herwydd i mi ddyfod yn ol at fy ngwaith, ac yr oedd llawer o feddyliau ereill yn eu plith hwynt; eithr yr ydym ni yn gogoneddu Duw am ei fendith.

Yr eiddoch yn y gwirionedd,

*Tystion*— MORGAN WILLIAMS.

THOMAS LLEWELLYN,
SAMUEL DAVIES.

Yr wyf fi, Jenkin Williams, er nad wyf yn un o'r Saint, etto yn tystio y gwirionedd. Yr wyf yn wybodus am losgiadau, ond ni welais y cyffelyb beth o'r blaen, ac yr wyf yn credu fod Duw wedi ateb eu gweddi.

JENKIN WILLIAMS.

---

## FFORDD NEWYDD I SEION.

TRWY gymmwynasgarwch y brawd Alfred Woods, yr ydym wedi derbyn y "Missouri Republican" am Mai 27, yr hwn sydd yn cynnwys talfyriad o'r Pummed Epistol Cyffredinol oddiwrth y

Brif Lywyddiaeth yn Nyffryn y Llyn Halen. Nis gwyddom pa fodd y maent wedi cael gafael ar yr Epistol o flaen y "Frontier Guardian," ond felly yr ymddengys y mae. Digon tebyg y cawn y cyfan erbyn yr UDGORN nesaf. Yn bresennol ni wnawn ond dyfynu yr hyn a ddywedir yn ngeiriau yr Epistol, ynghylch y ffordd newydd i Seion :—

"Bydd yn ddoethineb i'r Saint Seisnig beidio ymfudo ar hyd y ffordd arferol trwy y Taleithiau, ac i fyny ar hyd afon Missouri, ac aros lle y maent hyd oni chlywant oddiwrthym etto; gan mai ein bwriad yw agor ffordd yn groes i ganolbarth y cyfandir, ger Panama, Tehuantepec, neu rai o'r ffyrdd canolbarthol, a'u lànio hwy yn San Diego, ac felly arbed tair mil o filldiroedd o deithio ar afonydd trwy hinsawdd a gwlad afiachus. Bydd i'r Llywyddiaeth yn Liverpool agor pob gohebiaeth dymunol ynghylch yr amrywiol ffyrdd, a'r prisiau a'r cyfleusderau, o Liverpool i San Diego, a rhoi mynegiad cynnar, fel, os yn bosibl, y gellir gwneyd y parotoiadau anghenrheidiol erbyn ymfudiad yr hydref nesaf."

Gallem roddi llawer yn ychwaneg o newyddion, ond gan y bydd raid i ni gyhoeddi y cwbl etto, meddyliwn mai gwell yn awr yw gadael ein darllenwyr i ymbleseru ar yr uchod, ynghyd ag ar lythyron y Capt. Jones at y Llywydd Phillips a ninnau.

---

## HANES Y RHYFEL A FU RHWNG Y RHUFEINIAID A'R IUDDEWON, YN MHA UN Y CYMMERWYD AC Y LLWYR DDINYSTRIWYD JERUSALEM.

YN y flwyddyn 67 o oed Crist y dechreuodd y rhyfel gyda'r Rhufeiniaid, yr hwn ni ddarfyddodd nes dystrywio Jerusalem, ac y dymchwelwyd y genedl Iuddewig. Yn y dechreuad yr oeddynt yn ennill weithiau y naill dro ar ol y llall, ac yn yr amrywiol ymladdfëydd, lladdwyd miloedd ar bob ochr: ac yr un pryd cododd ymrafaelion erchyll yn mysg yr Iuddewon, a'r Cristionogion a ffoiasant i Pela tu hwnt i'r Iorddonen, ac a oeddynt ddiogel, ac aeth amryw ereill o'r ddinas, gan dybied beth fyddai'r canlyniadau o ddigter y Rhufeiniaid.

Yn y flwyddyn 68 daeth Fespasian i Galilea gyda byddin nerthol; cwympodd y naill ddinas ar ol y llall trwy ddigter y Rhufeiniaid; a'r bobloedd yn rhifedi mawrion, a roisant un ai i'r cleddyf, neu a wnaethant yn gaethion. Yn mysg y rhai diweddaf yr oedd Josephus, yr hanesydd Iuddewig, ond un ar ol hyny, a aeth gyda Titus mab Fespasian, i warchaedigaeth Jerusalem, ac a roddodd hanes o'u rhyfeloedd.

Yr oedd y genedl yn awr gwedi ei rhanu yn ddwy ran gwrthwynebol, un oedd am ymostwng i'r Rhufeiniaid, a chael heddwch, a'r rhan arall oedd yn haeru y byddai yn anghlod o'r mwyaf i Dduw ymostwng i lywodraeth wr bydol, ac yn enwedig o'r Cenedloedd. Dan enw o dduwioldeb yr oedd y gwynfydwyr hyn yn gwneuthur y creulondeb echryslonaf; hwy a ddechreuasant trwy ladd yr holl rai hyny a'u gwrthwynebent yn y wlad o'u deutu; aethant i Jerusalem, ond cyfarfuasant â gwrthwynebiad cryf gan y rhan arall, pa rai oeddynt gwedi ymarfogi, er amddiffyn eu hunain rhag eu creulonder erchyll. Cafodd y gwynfydwyr y llaw uchaf, a 12,000 o wŷr mawrion y ddinas, yn mlodau eu hoed, a syrthiasant yn aberth i'w creulondeb. Nid oedd rhoddi y rhai hyn i farwolaeth yn ddigon o gospedigaeth yn ol eu tyb hwy, ond cymmerasant yn ddifyrwch i roddi y poenau mwyaf a allent eu dychymmygu ar y rhai gweiniaid. Yn nesaf dechreuasant ar y werin, pa rai oeddynt yn gorfod ffoi o Jerusalem a cheisio amddiffynfa gyda'r Rhufeiniaid, er bod y gwynfydwyr gwedi gosod gwylwyr ar yr heolydd, pa rai oeddynt sicr o ddyfetha y trueiniaid a ddeuai atynt. Yr oedd Fespasian yn aros yn Cesarea, gan wybod fod yr Iuddewon yn gwastraffu eu nerth, ac yn gwneuthur eu hunain yn fwy agored i arfau y Rhufeiniaid.

Pan oedd y gwynfydwyr, dan Ioan mab Lefi, yr hwn hyd yn hyn oedd wedi ymgadw oddiwrth warchaead Gischala, gwedi dyfetha, neu yru ymaith y blaid wrthwynebol, troes y bobl erchyll yma yn erbyn eu gilydd. Idumeaid (pa rai oeddynt o blaid Ioan) a gwynfanasant am y rhifedi oedd yn cael eu rhoddi i farwolaeth, ond Ioan, trwy ei ormesiaeth, a wnaeth iddynt wrthryfela, a throi eu harfau yn ei erbyn ef.

Yr oedd un Simeon hefyd, yr hwn oedd yn Massada, gwedi ffurfio plaid, ac yn ei dro gwedi lladd, yspeilio, llosgi, a dyfetha yn agos y cwbl o'i flaen. Trwy ofn cyndaredd Ioan a'i ganlynwyr (lle cryfaf pa rai oedd yn y deml) i osod pyrth ereill y ddinas ar dân, agorwyd ei phyrth i Simeon a'i gynlynwyr ef. Cododd hefyd blaid arall yn y ddinas, dan Eleazar; ond ni pharhaodd hon ond ychydig: dosparthwyd yr amrywiol bleidiau rhwng y ddwy, dan Ioan a Simeon.

Yny flwyddyn 72 dechreuodd y Rhufeiniaid eu hymdaith tua phrif ddinas Judea, gan ddyfetha y wlad a'i thrigolion y ffordd yr oeddynt yn myned, ac yn y 73 eisteddasant o flaen caerau Jerusalem. Cynnygodd eu llueddwr Titus, amryw weithiau, trwy Nicanor, Josephus, a'i hun, dylerau heddwch i'r bobl ynfyd hyn, ond hwy a'u gwrthodasant gyda diystyrwch; a gorfu i Titus ddechreu gwarchae. Trwy ddirfawr lafur y Rhufeiniaid, torwyd coed, tynwyd tai i lawr, holltwyd creigiau, llanwyd dyffrynoedd, adeiladwyd tyroedd a gwaliau, a gosodwyd offerynau rhyfel (*battering rams*) a phethau dinystriol ereill a osodwyd yn erbyn y ddinas.

Oddifewn yr oedd pleidiau Ioan a Simeon yn dyfetha eu gilydd; ond yr oeddynt yn unol yn eu rhuthriadau yn erbyn y

Rhufeiniaid; a phan drachefn tu fewn i'r pyrth, yr oeddynt gyda'r un fath gynddaredd yn troi eu harfau yn erbyn eu gilydd, yn y rhanau hyny o'r ddinas ag oedd Ioan wedi eu dyfetha: tra yr oedd y rhai a gymmerwyd gan y Rhufeiniaid yn cael eu croeshoelio mewn golwg i'r dref.

Y mae y Rhufeiniaid ar ol amryw ymladdfaoedd, a mawr lafur, yn gwneuthur rhwyg yn y caerau, a chael mynedfa i mewn; y mae'r Iuddewon yn ymadael o'r lle hwnw i'r nesaf; trwy fwy o lafur cauasant ar eu hol yma; mae'r Iuddewon yn cilio, ac yn ddiogel etto.

Ar yr un pryd yr oedd newyn a haint yn llywodraethu tu fewn i'r ddinas; yr oedd cynddaredd y pleidiau yn cynnyddu gyda'u hadfyd; yr oeddynt yn tori i fewn i dai y trigolion i chwilio am ymborth, ac os byddai peth ynddynt, hwy a laddent y bobl am beidio hysbysu iddynt ei fod ganddynt; os na fyddai, byddant yn eu dirboeni, gan dybied fod ganddynt beth wedi ei guddio. Nid aeth y gwynfydwyr i lwyr eisieu, ond cawsant y boddlonrwydd erchyll o lewygu y rhai oeddynt yn eu galw yn bobl ddifudd, a trwy hyny gadw i fyny eu hunain.

Y lleeddwr, gan wybod eu cyflwr truenus, ac ewyllysio eu harbed, a roes iddynt bedwar diwrnod i oeri; ac ar yr un pryd efe a ranodd ymborth i'w fyddin yn eu golwg, tra yr oeddynt yn tyru hyd y gwaliau i'w weled. Rhoddodd gynyg o heddwch iddynt drachefn, ac ni dderbyniodd ond atebiad chwerw. Oddiwrth gynnygiadau Titus, yr hyn y maent yn gyfrif yn gachgieiddrwydd, ac o achos creulonder y gwynfydwyr, mae amryw yn cael eu tueddu i fyned yn ddirgel at y Rhufeiniaid, tra mae ereill yn myned yn fwy gwrthnysig ac ystyfnig, ac yn cyfarfod â'u diwedd hyd y nod yn ngwersyll y Rhufeiniaid; o herwydd rhyw dyb oedd gan y Milwyr eu bod gwedi llyncu aur, agorwyd â'r cleddyf 2000 o honynt yr un noswaith, i ddyfod at y cyfoeth cuddiedig. Pan ddaeth Titus i wybod hyn, yr oedd yn barod i gollfarnu y llofruddwyr gwaedlyd, ond profasant mor lliosog nes gorfod iddo ymollwng a'i fwriad, a boddloni ei hun gyda gwneuthur yn adnabyddus trwy y gwersyll, y byddai i bwy bynag, o hyny allan, a dybir yn euog o'r fath greulonder, gael ei roddi i farwolaeth; etto nid oedd hyn yn ddigonol; lladdwyd amryw ar ol hyny, dan yr un dyb chwantus.

Mae adfyd yr Iuddewon yn parhaol gynnyddu.—Oddi allan, y Rhufeiniaid yn adeiladu gwal yn agos i bum milltir o amgylch mewn tri diwrnod, trwy ba fodd maent yn gwneuthur yn anmhosibl iddynt ddianc.—Oddifewn, carneddau o gyrff meirwon yn pydru ar wyneb y tir, y gwynfydwyr yn cellwair wrth adfyd a marwol ruddfanau eu brodyr, ac weithiau yn eu lladd, gyda'u cleddyfau, dan yr esgus i edrych os oeddynt yn finiog.

Dywed Josephus, Cymmerwn arnaf dasg anmhosibl i adrodd holl greulonder y rhai hyn; bydd yn ddigon i ddweyd, nad wyf yn tybied fod un ddinas ar y greadigaeth wedi goddef y fath adfyd erchyll.

Pan ganfu y gwynfydwyr nad allent yn hwy trwy greulondeb na'u gwyliadwriaethau rwystro gwrthgiliad y bobl, neu eu ffoedigaeth at y Rhufeiniaid, gwnaethant dro dichellddrwg arall: —Rhai trueiniaid yn cymmeryd arnynt brophwydo, a logwyd i fyned oddeutu y ddinas, gan floeddio bod achubiaeth fuan a rhyfeddol wrth law; a hyn am ennyd a roddodd ychydig obaith i weddill y bobl, pan y dygwyddodd yn Jerusalem beth a lanwodd y trigolion gyda syndod a gwallgofrwydd, a'r gwarchaewyr gyda digter a braw. Mam annedwydd gwedi ei gyru hyd eithaf eisieu, yn lladd ei phlentyn ac yn ymborthi ar ei gorff.

Pan daenwyd y newydd am y weithred annaturiol hon yn y ddinas, dechreuodd y truenus drigolion feddwl eu hunain wedi cael eu hollol adael gan Ragluniaeth dwyfol, ac i ddysgwyl effeithiau creulonaf ei ddigter. A phan glybu Titus, mewn dychryndod, yr hanes arswydus, gwnaeth yn ei ddigter benderfynu ar hollol ddystrywiad y genedl. Dywedodd, gan eu bod mor aml gwedi gwrthod fy nghynnygion o heddwch, ac yn dewis rhyfel yn hytrach na heddwch, gwrthryfel i ufydd-dod, a newyn i lawnder,—yr ydwyf gwedi penderfynu claddu y brif ddinas felldigedig yma mewn dinystr; fel na chaiff yr haul byth dywynu ei belyderau ar ddinas lle bo mamau yn ymborthi ar gnawd eu plant, a'u tadau ddim llai euog na hwy, yn eu gyru i'r fath eisieu yn hytrach na rhoddi eu harfau i lawr.

Titus, er gwneuthur y llwyrfwriad hwn, etto yn ewyllysio bod yn dosturiol wrth y bobl hyny; a thra yr oedd y naill ran ar ol y llall yn rhoddi i fyny i nerthol ymosodiad y fyddin Rhufeinaidd, yr oedd Titus a Josephus yn eu cynghori i ymroddi: yr oedd yn mawr ewyllysio achub y deml; yn gweled gyda gofid mawr yr offrwm dyddiol yn peidio, ac yn beio ar y gwynfydwyr am eu hesgeulusiad o'r addoliad; ond yr oedd y bobl druenus hyn yn difrodi y deml pa un yr oeddynt yn ystyried yn sicr ddiogelfa yn erbyn y genedl Rhufeinaidd, a pha un yr oeddynt yn perswadio eu hunain oedd yn rhy santaidd byth i syrthio i ddwylaw y cenedloedd, er eu bod hwy eu hunain yn meddwi â'r gwin oedd wedi ei barotôi i'r offrwm.

Yn awr, mae difrodaeth rhyfel trwy Jerusalem; y naill fan ar ol y llall yn cael ei osod ar dân gan y rhai oedd yn cael eu gwarchae, a'r rhai sydd yn gwarchae, ac yn y terfysg, llaweroedd sydd yn cael eu dyfetha o bob ochr. Yr oedd y deml etto yn gyfan; ond nid oedd attal ar gynddaredd y Rhufeiniaid yn hwy; un o'u milwyr a aeth ar ysgwydd un arall, ac a daflodd bonffaglydd i'r deml trwy y ffenestr, yr hyn yn fuan a osododd yr adeilad yn wenfflam; ar yr un dydd o'r mis ag yr oedd Nebuchodonosor gwedi ei llosgi o'r blaen.

Titus, yr hwn oedd yn cysgu, a ddeffrodd wrth y twrw, ac a redodd yn union i beri iddo gael ei diffodd, ond ofer oedd iddo; gwaeddodd, erfyniodd, bygythiodd, ac hefyd ffonodiodd ei ddynion; ond yr oeddynt yn rhy brysur yn lladd yr Iuddewon, neu gynnyddu y fflamau, i dalu sylw i orchymmyn eu Lluedd wr.

Rhwng y fflamau, rhanau o'r adeiliad yn syrthio, a chleddyf y Rhufeiniaid, yr hwn oedd yn dyfetha pob peth o'i flaen, pa un bynag ai dyn ai dynes, henddyn penllwyd ai plentyn tyner, trengodd nifer mawr, ac yn y cyfryw, hudwyd mwy nâ 6000 gan gau brophwydi, pa rai oedd wedi addaw iddynt ryfeddol achubiaeth y dydd hwnw. Rhai o honynt a fu bum diwrnod ar y muriau, ac wedi hyn yn taflu eu hunain ar drugaredd y Llueddwr; ond yr ateb oedd eu bod wedi aros dros ben eu hamser, ac arweiniwyd hwy i'w dihenyddiad.

Cyfun-ddrych i'r difrodiad hyn oedd yn y deml ac o'i hamgylch, o ba le y gwynfydwyr trwy ruthrfa nerthol a wnaethant eu ffordd i'r ddinas, ond y ffyrdd allan oedd wedi eu gwylio fel nad allent fyned o honi. Y maent ar hyny yn cadarnhau eu hunain gystal ag y gallent ar yr ochr ddeau i'r ddinas, o ba le y mae Ioan a Simeon yn dymuno cael ymddyddan a'r Llueddwr; y maent yn cael eu hateb, er eu bod yn achos o gymmaint colli gwaed, yr arbedir eu bywydau os rhoddant eu harfau lawr. Maent hwythau yn ateb, eu bod wedi ymrwymo trwy lwon i beidio byth a rhoddi i fyny, ac am hyny yn taer erfyn am genad i fyned gyda'u gwragedd a'u plant i'r mynyddoedd. Titus wedi gwylltio wrth yr ateb hwn, a barodd gyhoeddi iddynt sefyll er amddiffyn eu hun, gan ddywedyd, na arbeder un o honynt gan eu bod yn gwrthod ei gynnygion diweddaf o heddwch.

Mae Merch Seion, neu y ddinas isaf, yn awr yn cael ei gollwng i gynddaredd y milwyr, pa rai sydd yn yspeilio, llosgi, a lladd gydâ'r gwylltineb mwyaf. Mae y gwynfydwyr oedd ar ol, yn dianc i'r palas breninol, yn y ddinas uchaf, yr hon a elwir Dinas Dafydd, ar fynydd Seion. Yma y lladdwyd 8,000 o Iuddewon, pa rai oeddynt wedi cymmeryd noddfa ynddi.

Mae agos i ugain niwrnod yn cael eu treulio gan y Rhufeiniaid yn ymbarotoi i wneuthur gosodiad nerthol ar y ddinas uchaf. Mae peirianau rhyfel yn chwarae gyda mawr gynddaredd: y gwarchäedig ydynt mewn gwallgofrwydd yn rhedeg fel pobl o'u cof, ac yn meddwl ymosod ar y mur cylchynol mewn modd i ddianc o'r ddinas; ond gan gael eu gwrthwynebu, maent yn rhedeg i ddirgel lefydd y ddinas i ymguddio, megis dwfr-ffosydd, &c., y rhai y mae'r Rhufeiniaid yn gael, maent yn eu lladd, a'r ddinas yn cael ei gosod ar dân. Mae Ioan, yr hwn oedd yn cael ei wasgu gan newyn yn dyfod allan ac yn crefu am ei fywyd, yr hyn sy'n cael ei roddi iddo, ond mae yn cael ei fwrw yn garcharor am ei oes. Gan fod diogelfa Simeon wedi ei ystorio yn well, mae yn gallu sefyll allan yn hwy. Mae Simeon a Ioan yn cael eu harbed gyda 700 o'r Iuddewon harddaf, er arddurno y cerbyd gorfoleddawl. Ar ol hyn, mae Simeon yn cael ei dynu hyd yr heolydd â rhaff am ei wddf, yn cael ei fflangellu, a chwedi hyny ei roddi i farwolaeth; ac y mae Ioan yn cael ei yru i'w garchar. Yr oedd tri castell etto heb eu cymmeryd, Herodian, Machæron, a Massada; y ddau gyntaf a ammododd, ond safodd Massada allan. Yr oedd y lle yn gryf trwy natur a chelfyddyd, ac yn cael

ei amddiffyn gan amryw o'r gwynfydwyr tan Eleazar. Er arfer holl beirianau rhyfel yn ei erbyn, nid allai y Lluenddwr ei oresgyn; am hyny efe a adeiladodd wal uchel o'u ddeutu, ac a osododd dân i'r pyrth; Eleazer mewn anobaith a berswadiodd ei bobl yn gyntaf i ladd eu gwragedd a'u plant, a chwedi hyny i ddewis deg o ddynion i ladd y lleill; ac yn ddiweddaf un o'r rhei'ny i'w lladd hwy ac ef ei hu, gwedi gosod tân i'r lle cyn iddo wneud hyny. Yr hyn a wnaethwyd; a thranoeth y Rhufeiniaid ar ol cael i fynu'r muriau, a synasant i weled na chlywed dim yn symud, ac a roisant floedd fawr, ar ba un dwy o wragedd pa rai oeddynt wedi ymguddio a ddaethant ac a fynegasant iddynt lanastra erchyll oedd gwedi cymmeryd lle ar y gwarchäedig.

Nifer yr Iuddewon a fu farw yn y rhyfel hwn a gyfrifir i fod yn fwy nâ. 1,406,000, heblaw rhifedi mawr a fu farw yn y coed, ogofëydd, diffeithwch, &c., o ba rai nid ellid cymmeryd cyfrif. O'r carcharorion pa rai oeddynt 97,000 (heblaw 11,000 a rynodd trwy esgeulusdod neu a fuont feirw o fawr alar) ychydig a gadwyd i addurno gogoniant yr ennillwr, a rhifedi a anfonwyd i amrywiol ddinasodd Syria i'w dangos yn y chwarae-dai cyffredin, neu i gael eu dyfetha gan fwystfilod rheibus yn ol aferiad yr amseroedd.

Er y difrodiad erchyll hwn o'u dinas a'u llywodraeth, mae yr Iuddewon wedi eu gwasgaru tros wyneb y ddaear; ac er cymmaint o erlidigaeth maent yn gael gan y rhai dienwaededig yn mhob oesoedd o Grist'nogrwydd, maent yn parhau i gynnyddu. Maent mewn modd rhyfeddol gwedi gwneuthur eu hunain yn nodedig trwy eu diwyd farsiandaeth, ac y mae amryw ranau o hono yn cael ei dreiddio oddi wrthynt hwy. Mewn hynafiaeth yr oedd "gwahaniaeth wedi ei osod rhwng yr Aifftiaid ac Israel," ac hyd y dydd heddyw mae yn alarus bod ofergoel yr Iuddewon a Chenedloedd yn eu cadw yn wahanol. R. G.

---

## GALARNAD JEREMIAH.

PAHAM yr wyt ti'n brudd,— Gyfaill gwiw, &c.,
Ac unig trwy y dydd,—Gyfaill gwiw?
A gollaist ti dy ffryndiau,
A'u hyfryd gymdeithasau,
Y penaf peth o'th freintiau?—Dyro glyw, &c.

Cai genyf glywed pa'm,—Cyn bo hir, &c.,
Yn gyson yn y man,—Cyn bo hir;
Mi gollais fy nghyfeillion,
Rhai goreu garai 'nghalon,
A'u hoff gymdeithas lawen,—Do yn wir, &c.

Pa le maent hwy yn awr?—Truan ddyn, &c.,
Mor waeled yw dy wawr,—Wrth dy hun.
Maent heddyw wedi myned
Bob un wrth ei dueddiad;
Gadawsant fi 'n amddifad;—O mor flin, &c.

A aethant hwy yn mhell?—Ergyd trwm, &c.;
Oes gobaith byddant gwell?—O, nis gwn.
Aeth rhai yn Fethodistiaid,
Ac ereill yn Sosiniaid,
Rhan fawr yn Indeperdiaid;—Gobaith gwan, &c.
Aeth rhai i ffwrdd dros fôr,—Trist wyf fi, &c.,
Wrth golli pawb o'r côr,—Trist wyf fi:
Aeth rhai at y Bedyddwyr,
Ranteriaid gwyllt a'r Crynwyr,
Maent oll yn rhyw grefyddwyr,—Ond myfi, &c.
Yn olaf daeth y saeth,—Braidd yn drom, &c.,
Mi gefais ganddo frath—Tan fy mron,
Waith colli Edward Davis,
Difyrus, doeth a dawnus,
A'i holl gyfrinach felys—Oedd mor llon, &c.
Pa le aeth ef â'i ffon?—Gwyddost ti, &c.;
Ai at y gwyr Mor-mon,*—D'wed yn ffri;
Aeth ef trwy ordinhadau
I Eglwys bur y Seintiau,
Dan ddwyfol awdurdodau;—Gwir yw hyn, &c.
Oes gobaith 'nawr yn bod?—Nid yn wan, &c.,
Daw crefydd llawn o glod—I dy ran?
'Rwy'n penderfynu bellach,
Yn awr i fod yn gallach,
Af yn grefyddwr harddach—Nag erioed, &c.
Rho' glyw i mi wrth fyn'd,—Cyn ffarwel,
Pa Eglwys yw dy ffrynd,—Gyfaill ffel?
Wel, Saint y Dydd Diweddaf,
Sy'n llawn o'r ddawn ddwyfolaf,
Trwy nerth fy Nuw gynnygaf;—Dos, ffarwel, &c.

* More good.

T. JEREMIAH.

---

## GWLEDD Y SAINT YN LLUNDAIN.

YN yr wyl hon, yr oedd pawb wedi cymmeryd eu heisteddleoedd yn y Neuadd am hanner awr wedi dau, ac er fod y lle yn orlawn, buasai cymmaint arall yn bresennol pe bai lle iddynt. Yr oedd y tocynau yn swllt yr un, ac am hyny yr oedd pob un yn cael teisienau, biscuits, oranges, raisins, a dwfr glân, heblaw cael rhan yn mhleser y dydd. Ar ol cael trefn, daeth gorymdaith i mewn i'r Neuadd, yn cynnwys 12 o lywyddion cangenau, efo ffyn; 24 o ferched ieuainc, wedi ymdrwsio mewn *visites* mwslin gwyn, ac ysnodenau gleision yn eu gwallt; a 24 o fechgyn ieuainc mewn scarffau gleision. Dyben y llywyddion oedd i gadw trefn, a'r merched a'r bechgyn i fod yn waiters. Wedi cerdded oddiamgylch unwaith, a chymmeryd eu heisteddleoedd, daeth gorymdaith arall i mewn, yn cynnwys y deuddeg tad yn Israel, sef

henafgwyr penllwydion, efo eu ffyn; deuddeg o fechgyn ieuainc, mewn scarffau mawr gleision, yn cario y Beibl mewn un llaw, a Llyfr Mormon yn y llall; a deuddeg o ferched ieuainc, gwisgedig mewn mwslin gwyn, a scarffau mawr gleision, a thorchau o flodau am eu penau. Cerddasant unwaith oddiamgylch, a chyn eistedd cydganasant oll. Yna darllenodd y caplan y 6fed bennod o Nephi, yn Llyfr Mormon, a'r 10fed bennod o Ioan, yn y Testament Newydd, a gweddiodd. Wedi hyny anerchwyd y gynnulleidfa gan un o'r henafgwyr, un o'r bechgyn ieuainc, ac un o'r merched ieuainc, a chan y pedwar apostol, a chanwyd gan ereill, yr oll mewn dull effeithiol iawn, nes y cafodd pawb eu boddloni.

---

## MYNEGIAD Y CYNNADLEDDAU YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG, AM YR HANNER BLWYDDYN YN DIWEDDU MEH. 1, 1851.

| *Cynnadleddau.* | *Cang.* | *D.* | *A.* | *Hen.* | *Off.* | *Ath.* | *Di.* | *Tor.* | *Mar.* | *Ymf.* | *Bed.* | *Oll.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Elundain | 60 | 1 | 0 | 183 | 161 | 142 | 75 | 155 | 13 | 112 | 714 | 3267 |
| Manchester | 30 | 1 | 0 | 111 | 163 | 103 | 45 | 175 | 21 | 62 | 332 | 2934 |
| Birmingham | 15 | 2 | 0 | 87 | 95 | 75 | 43 | 68 | 17 | 40 | 237 | 2283 |
| Sheffield | 33 | 2 | 0 | 68 | 139 | 80 | 44 | 143 | 16 | 116 | 310 | 2168 |
| South Conference | 27 | 0 | 0 | 42 | 80 | 47 | 43 | 48 | 10 | 18 | 155 | 1190 |
| Liverpool | 10 | 0 | 0 | 48 | 57 | 25 | 23 | 30 | 5 | 32 | 190 | 1098 |
| Bedfordshire | 28 | 2 | 0 | 51 | 62 | 35 | 28 | 30 | 1 | 38 | 153 | 962 |
| Cheltenham | 20 | 0 | 0 | 52 | 44 | 35 | 24 | 24 | 6 | 22 | 103 | 861 |
| Herefordshire | 29 | 1 | 0 | 81 | 67 | 42 | 22 | 25 | 3 | 18 | 83 | 855 |
| Bradford | 18 | 0 | 0 | 56 | 66 | 39 | 14 | 46 | 4 | 9 | 75 | 813 |
| Preston | 16 | 0 | 1 | 66 | 51 | 41 | 12 | 33 | 6 | 39 | 85 | 787 |
| Warwickshire | 25 | 1 | 0 | 63 | 60 | 33 | 18 | 25 | 5 | 85 | 78 | 760 |
| Norwich | 16 | 1 | 0 | 54 | 53 | 32 | 17 | 26 | 5 | 8 | 134 | 746 |
| Worcestershire | 15 | 0 | 0 | 40 | 37 | 15 | 17 | 14 | 5 | 30 | 69 | 666 |
| Staffordshire | 16 | 0 | 2 | 52 | 46 | 27 | 17 | 52 | 3 | 10 | 25 | 566 |
| Newcastle-on-Tyne | 14 | 0 | 1 | 52 | 47 | 18 | 19 | 5 | 1 | 2 | 28 | 548 |
| Southampton | 15 | 0 | 0 | 14 | 25 | 17 | 10 | 18 | 1 | 32 | 112 | 499 |
| Lincolnshire | 16 | 0 | 1 | 30 | 39 | 26 | 9 | 28 | 5 | 45 | 164 | 477 |
| Derbyshire | 13 | 0 | 0 | 29 | 27 | 19 | 8 | 18 | 0 | 27 | 83 | 395 |
| Leicestershire | 5 | 1 | 0 | 20 | 22 | 12 | 10 | 14 | 2 | 20 | 95 | 378 |
| Hull | 6 | 0 | 0 | 17 | 17 | 12 | 3 | 14 | 0 | 7 | 43 | 318 |
| Dorsetshire | 5 | 0 | 0 | 8 | 10 | 11 | 10 | 18 | 0 | 0 | 7 | 273 |
| Shropshire | 11 | 1 | 0 | 15 | 18 | 4 | 9 | 12 | 0 | 1 | 33 | 245 |
| Carlisle | 5 | 1 | 0 | 23 | 6 | 8 | 5 | 16 | 1 | 1 | 10 | 146 |
| Morganwg Ddwyr | 26 | 0 | 2 | 188 | 124 | 126 | 96 | 97 | 12 | 31 | 325 | 2489 |
| Sir Fynwy | 19 | 0 | 0 | 85 | 33 | 43 | 35 | 22 | 4 | 18 | 147 | 740 |
| Morganwg Orllewinol | 16 | 1 | 1 | 66 | 38 | 36 | 24 | 27 | 6 | 0 | 53 | 543 |
| Sir Gaerfyrddin | 15 | 0 | 0 | 72 | 32 | 26 | 25 | 43 | 3 | 8 | 42 | 530 |
| Sir Benfro | 12 | 0 | 0 | 25 | 10 | 13 | 12 | 18 | 1 | 5 | 52 | 215 |
| Sir Ddinbych | 6 | 0 | 0 | 18 | 15 | 10 | 5 | 11 | 0 | 0 | 31 | 177 |
| Sir Aberteifi | 8 | 0 | 0 | 18 | 11 | 3 | 0 | 5 | 1 | 0 | 26 | 126 |
| Sir Fflint | 6 | 0 | 0 | 18 | 11 | 6 | 1 | 11 | 0 | 0 | 20 | 121 |
| Sir Fon | 6 | 0 | 0 | 17 | 7 | 6 | 2 | 9 | 0 | 0 | 19 | 113 |
| Sir Frycheiniog | 7 | 0 | 0 | 15 | 5 | 3 | 5 | 2 | 0 | 0 | 16 | 79 |
| Sir Feirionydd | 6 | 0 | 0 | 16 | 2 | 3 | 1 | 6 | 0 | 0 | 13 | 71 |
| Glasgow | 30 | 1 | 0 | 111 | 97 | 106 | 29 | 95 | 6 | 43 | 191 | 2094 |
| Edinburgh | 15 | 1 | 0 | 39 | 40 | 46 | 14 | 44 | 3 | 25 | 58 | 797 |
| Dundee | 7 | 0 | 0 | 10 | 10 | 16 | 5 | 11 | 2 | 9 | 37 | 392 |
| Belfast | 5 | 0 | 0 | 7 | 8 | 2 | 1 | 4 | 1 | 0 | 12 | 76 |
| Iwerddon | 3 | 0 | 0 | 8 | 1 | 0 | 1 | 2 | 0 | 3 | 23 | 38 |
| Channel Islands | 5 | 0 | 0 | 10 | 8 | 9 | 5 | 17 | 2 | 9 | 39 | 270 |
| Isle of Man | 2 | 0 | 0 | 13 | 7 | 3 | 3 | 2 | 1 | 0 | 17 | 120 |
| Cyfanswm | 642 | 17 | 8 | 1998 | 1851 | 1355 | 789 | 1463 | 172 | 925 | 4439 | 32226 |

Enwau y Llywyddion.—Eli B. Kelsey, Llundain; C. H. Wheelock, Manchester; I. C. Haight, Birmingham; Lewis Robbins, Sheffield; George Halliday, South Conference, Glaud Rodger, Liverpool; John Spiers, Bedfordshire; J. D. Ross, Cheltenham; H. W. Church, Herefordshire; R. C. Menzies, Bradford: J. W. Johnson, Preston; J. W. Crosby, Warwickshire; C. V. Spencer, Norwich; John Lyon, Worcestershire; James F. Bell, Staffordshire; J. S. Higbee, Newcastle-on-Tyne; C. W. Dunbar, Southampton; Moses Clawson, Lincolnshire; Jacob Gates, Derbyshire; Jacob Gates, Leicestershire; Hugh Findlay, Hull; George Kendall, Dorset; Joseph W. Young, Shropshire; A. M. Harmon, Carlisle; William Phillips, Morganwg Ddwyreiniol; Thomas Giles, Sir Fynwy; Thomas Pugh, Morganwg Orllewinol; David John, Sir Gaerfyrddin; John Price, Sir Benfro: John Parry, Sir Ddinbych; John Evans, Sir Aberteifi; William Parry, Sir Fflint; Thomas Morgan, Sir Fon; John Jones, Sir Frycheiniog; William Evans, Sir Feirionydd: J. Clements, Glasgow: James Marsden, Edinburgh: James Marsden, Dundee: Gilbert Clements, Belfast: ——, Iwerddon: Elias Cave, Channel Islands: James Hewley, Isle of Man.

---

DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU, CANGENAU, AC EREILL, AM Y CHWARTER YN TERFYNU MEH. 26, 1851.

*Cynnadleddau.*—Sir Fynwy, £20 14s 10½c; Sir Frycheiniog, £3 15s 10½c; Sir Aberteifi, £3 14s 2c; Sir Gaerfyrddin, £14 15s 2c; Morganwg Orllewinol, £36 10s 8½; Sir Fflint, £10 5s 1c; Sir Gaernarfon, £12 15s 11½c; Sir Feirionydd, £8 1s 2c; Sir Ddinbych, £15 11s 7½c; Sir Benfro, £1 9s 7½c.—*Cangenau.*—Dinas, £2 4s 0½c; Llantrisaint, £3 14s 5c; Pontypridd, £5 3s 4c; Llanfabon, £2 9s 3½c; Cwmbach, £2 18s 10c; Pendulwyn, 9s 10½c; Twynyrodyn, 15s 4½c; Llandaff, £1 17s 9c; Gog, £1; Caerdyf, £4 5s 3½c; Aberdar, £11 7s 7c; Dowlais, £3 16s 8c; Hirwaun, £5 9s 8½c; Rymni, £2 15s 9c; Cwmnedd, £1 6s 7c; Georgetown, £7 10s 1c; Merthyr, 8s 5½c; Pendaren, £3 6s 6c; Pontfaen, 18s; Cefn, £2 12s 10c; Ynysgou, 11s 6c; Liverpool, £1 2s 9d.——*Personau.*—David Davies, Clynmil (gynt), 3s 4c; Joseph Rogers, 3s 6c; Rees Thomas, Twynyrodyn, 4s 6d; David Edwards, gynt Tongwyrddlas, 6s 5c; David John, Sir Gaerfyrddin, 9s 6c; Jonathan Thomas, £1 19s 8½c; Eglwysnewydd, 4s.—Cyfanswm, £197 10s 10c. (Y gwallau i'w gwella.)

☞ Mae yn gynnwysedig yn y symiau uchod ddim llai nâ £80 o ddyled y chwarter blaenorol, ac o hyny y mae dros £25 yn ddyledus ar y Gogledd yn unig!

---

Taliadau o Feh. 13 hyd Meh. 26.—Mynwy, £3; Sir Ddinbych, £1 5s; Pontypridd, £2 1s. 4c; Georgetown, £1 14s; Pendaren, 11s; Ynysgou, 2s; Cwmbach, 12s; Merthyr, £2 10s; Cyfanswm, £11 15s. 4c.

☞ Bydd Llythyr Capt. Jones at W. Phillips yn lyfryn ceiniog.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr,*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

// UDGORN SEION,

NEU

**Seren y Saint.**

RHIF. 14.] GORPHENAF 12, 1851. [PRIS 1*g*.

## PUMMED EPISTOL CYFFREDINOL PRIF-LYWYDDIAETH EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, O DDYFFRYN Y LLYN HALEN FAWR, TALAETH DESERET, AT Y SAINT GWASGAREDIG TRWY Y BYD,

YN ANERCH:—

ANWYL FRODYR,—Trwy gofio yn barhaus am deyrnas y Gwaredwr, a'ch lleshad chwi ynddi, yr ydym yn gwneyd defnydd o'r fynyd bresennol i ddangos i chwi ein gwyliadwriaeth a'n gofal drosoch, a thros y pethau hyny ag sydd er eich dedwyddwch presennol, a'ch dyrchafiad dyfodol. Nid oes dim yn cymmeryd lle o'n hamgylch, nad oes tuedd ynddo i dda neu ddrwg; a thra yr ydym ni yn y byd, ac yn cael ein hamgylchynu gan amgylchiadau a dygwyddiadau ag sydd yn dal cyssylltiad â'n llwyddiant, naill ai gydag ef neu yn ei erbyn, y mae yn gweddu i ni, megys Saint y Goruchaf, i hysbysu a dyfod yn hysbys; a thrysori i fyny wybodaeth a doethineb ynghylch pob peth sydd yn cymmeryd lle ar y ddaear; ac yn y nefoedd, mor bell ag y perthyna i ni, ac y caniateir i ni wybod; ac yn uffern hefyd, fel y byddom barod i ochelyd pob tueddiad drwg, a chofleidio pob da; ac os mai trwy ein hysgrifell ni y gwneir doethineb Duw yn eglur i chwi er eich daioni, cysur, dyddanwch, a'ch iachawdwriaeth, bydd llawenydd mwyaf ein calonau yn cael ei fwynhau.

Yr Eglwys, o ba un yr ydych chwi yn aelodau, a gydgorfforwyd ar y 6fed o Ebrill, 1830; y pryd hyny yn cynnwys chwech o

bersonau, oddiar ba amser y mae wedi cynnyddu yn barhaus, ac wedi ei herlid a'i gyru o dref i dref, o swydd i swydd, ac o Dalaeth i Dalaeth, ac allan o'r Taleithiau, nes y mae ei gorphwysfa yn anialwch a dyffrynoedd y mynyddoedd, oddeutu tair mil o filltiroedd o'r lle y cafodd ei chydgorffori ynddo, yn Nhalaeth New York; ac yn yr erlidiau hyny, cafodd prophwydi ac apostolion eu merthyru er mwyn y gwirionedd, a'r henuriaid eu gwasgaru ar hyd pedwar ban y byd, ac ynysoedd y môr, gan bregethu fel yr elent, ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist, edifeirwch, bedydd er maddeuant pechodau, gosod dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glân, Swper yr Arglwydd, yr ymgasgliad, adyfodiad y meirw, a'r farn dragwyddol, ac y mae cannoedd o filoedd wedi credu ac ufyddhau i'r genadwri nefol, ac y maent yn dysgwyl yn amyneddgar am ddyfodiad yr Arglwydd Iesu Grist; yr hwn, heb fod yn hir, a osoda ei draed etto ar fynydd yr Olewydd, ac a ddadguddia ei hun i Israel, yn ol rhag-ddywediadau yr hen brophwydi; canys rhaid i Israel gael eu casglu o blith bob cenedl, a'u sefydlu etto yn ngwlad eu hetifeddiaeth, a chanfod yr archollion yn nwylaw ac ystlys yr Hwn a drywanasant, a'i gydnabod Ef megys eu Hiachawdwr, eu Gwaredwr, Sanct Israel. Y mae ymgasgliad Israel wedi dechreu eisoes; y mae Judea yn derbyn ei thrigolion cyntefig, ac y mae y Ddinas Santaidd yn cael ei hail-adeiladu; yr hyn sydd yn un arwydd neillduol o ddynesiad agos y Messiah.

Yn ystod yr un mlynedd ar hugain ag sydd er pan gydgorfforwyd yr Eglwys, y mae yr Efengyl wedi ei phregethu yn Ewrop, Asia, Affrica, America, yn yr India Ddwyreiniol a Gorllewinol, ac ar lawer o ynysoedd a mân-ynysoedd yn y Môr Werydd a'r Môr Tawel; mae llawer o filoedd o Saint wedi ymgasglu o wahanol barthau y ddaear, i Seion—i America, y wlad ag y mae Duw wedi ei nodi allan fel lle o ddiogelwch i'w bobl, yn y dyddiau diweddaf hyn; a'r hwn a dry allan yn lle o ymwared i freninoedd a thywysogion, a gwyr mawr, a rhai anrhydeddus y ddaear o blith pob cenedl, pa un bynag ai cyfoethog ai tlawd, y rhai sydd yn eu bryd i chwilio am ddiogelwch yno, pan fyddo fflangellau llefeiriol digofaint Duw yn dinystrio y cenedloedd, ac yn dadboblogi y ddaear o herwydd anghrediniaeth gynnyddol a ffieidd-dra ei phreswylwyr. Y mae gwasgariad digyffelyb yr Efengyl, mewn amser mor fyr, ac ymgas-

gliad cyflym y Saint, yn arwydd arall o ddynesiad agos y Messiah.

Mae cyffroadau cynnyddol y cenedloedd; y rhyfeloedd lliosog, a'r sôn am ryfeloedd; yr ymraniadau tufewnol ag sydd yn bwgwth dystrywio undeb a dymchwelyd llywodraethau goreu y ddaear; y pläau a'r afiechyd cynnyddol mewn dulliau newyddion ac amrywiol, ag ydynt yn dyrysu medrusrwydd y meddygon galluocaf, ac yn achosi doethineb eu doethaf i ballu; yr ymraniadau cynnyddol yn mhlith pleidiau o Gristionogion proffesedig, ac aelodau yr un blaid, yn dangos, yn ddyddiol, mwy-fwy o eisieu yr undeb hwnw sydd yn rhaid i fodoli er sicrhau parhad egwyddorion cyfiawnder yn mhlith unrhyw bobl, ac heb yr hyn nis gall teyrnas Dduw sefyll ar y ddaear nac yn y nefoedd; lliosogiad colli bywydau trwy longddrylliadau a thymhestloedd, trwy *explosions* a llosgiad agerfadau; dystrywiad bywydau a meddiannau trwy lofruddiaeth a ffaglyddiaeth, anrhaith, tydoriad, a lledrad; y golygfeydd dychrynllyd, a'r arwyddion hynod, a'r curiadau a'r ystwr a glywir yn fynych yn y nefoedd ac ar y ddaear; lliosogiad gweledyddion, a brudwyr, a dewiniaid, ac ysbrydion cymdeithasgar, a swyn gyfareddwyr, a sêr-ddewinwyr, y rhai sydd yn swyno cenedloedd y ddaear â'u celfyddydau hudolgar, gan sïo y ffol i gysgu â'u dylanwad attyniadol, twyllo yr offeiriaid a'r bobl trwy eu dewiniaeth, yn galw-gwlaw, eira, a thân o'r nefoedd, ac yn gwasgaru llwydrew, megys noson gauaf, yn eu neuaddau celfyddydol, a'r bobl yn eu cynnorthwyo trwy eu ffydd, eu dylanwad, a'u harian, gan adael y tlawd, y claf, y weddw a'r amddifaid, i ofidio am gysuron bywyd yn yr annedd ddirgel,—a'r rhy gyffredinol lygredigaethau, a ffieidd-derau, ac aflendid, ac ymarferiadau halogedig pob cnawd, ar wyneb y ddaear;—yr holl, yr holl arwyddion hyn, a lluoedd ychwaneg o natur cyffelyb, ag sydd yn bodoli yn awr, ydynt yn gyflawniad o brophwydoliaethau, nid yn unig eiddo y prophwydi cyntefig, ond yn fwy neillduol prophwyd ac apostol, gweledydd, a dadguddiwr y dyddiau diweddaf, sef Joseph Smith, yr hwn a agorodd ffordd bywyd ac iachawdwriaeth i'r genedlaeth hon trwy allu yr offeiriadaeth dragywyddol, yr hon a adferwyd i'r ddaear drwyddo ef, yr hwn a brophwydodd ac a ddygodd dystiolaeth y deuai oddiamgylch yr holl bethau hyn, a llawer yn ychwaneg o bethau cyffelyb, yn y genedlaeth hon, fel arwyddion o ail ddyfodiad

Mab y dyn, yr hwn sydd yn agos wrth law; ac yn wir, y mae ei dystiolaeth yn eirwir, ac y mae ei destament mewn grym, canys y mae wedi ei selio â'i waed; gan hyny, clywch hi, holl derfynau y ddaear! credwch yn yr Iesu, bedyddier chwi yn ei enw er maddeuant o'ch pechodau, a gwnewch bob peth a orchymyno efe i chwi; a chwi a achubir yn mhresennoldeb Duw a'r Oen, ac nid oes un ffordd arall trwy yr hon y gallwch gael eich achub.

Am y dydd a'r awr y daw Crist nid oes un dyn yn gwybod. Nid yw etto, nac ychwaith yn neppell; y mae prophwydoliaethau etto i'w cyflawni cyn y dygwydda hyny; gan hyny, na thwylled neb y Saint â gwag philosophi a gau brophwydoliaeth; canys gau-brophwydi a gyfodant, ac a dwyllant y drygionus, a phe yn bosibl, y rhai da; ond tra fyddo y drygionus yn ofni ac yn dychrynu rhag y barnau oddiamgylch, bydd y Saint yn gwylio ac yn gweddio; a chan ddysgwyl y dygwyddiad diweddaf mewn amynedd, edrychant yn dawel ar yr olygfa o fyd llygredig yn passio heibio, a syllant ar y dygwyddiadau a gymmerant le megys yn gadarnhad o'u ffydd yn yr efengyl santaidd a broffesant, a gorfoleddant yn fwy-fwy, megys y byddo arwyddion ychwanegol yn cadarnhau dynesiad y dydd mil-blynyddol.

Mae y Saint cartrefol yn gwneuthur parotoiadau i dderbyn y Saint o bell, a theimlwn yn ddiolchgar i'n Tad nefol y gallwn dystiolaethu mewn gwirionedd, fod bendithion dewisol Duw Abraham wedi gorphwys ar ei bobl, yn nyffryn y mynyddoedd, er pan ysgrifenasom atoch o'r blaen. Mae y gauaf wedi bod yn dyner, pan ei cymherir â'r rhan fwyaf o auafau, ac y mae llawer o oruchwylion wedi cael eu cyflawni, na ellid eu dwyn i ben, pe buasai y tywydd wedi bod yn galed. Mae amryw o felinau ŷd a *lumber* wedi eu hadeiladu, yn y gwahanol sefydliadau, y gauaf diweddaf; mae llawer o *shingles* wedi eu gwneyd, a'r hyn oll sydd yn eisieu er eu cael at wasanaeth uniongyrchol yw hoelion; a bydded i'r Saint sydd yn dyfod yma, i gofio hyn yn neillduol. Y mae cadeiriau ac amryw fath o ddodrefni yn lluosogi yn ein plith. Y mae dau neu dri o beiriannau at ddyrnu wedi bod yn gweithio yn llwyddiannus yn ein dyffryn, yn yr hydref a'r gauaf diweddaf, yr hyn sydd wedi arbed gwaith llawer cant o ddiwrnodau, y rhai sydd wedi eu defnyddio at ddybenion ereill mewn diwylliant; er hyny bydd eisieu ychwaneg o beirannau dyrnu yn y dyffryn hwn, y tymmor hwn, ac hefyd yn

ngwahanol sefydliadau dyffrynoedd ereill, ac nid oes achos i ofni dyfod â gormod, neu ormod o haiarnau at felinau nithio, a'r cynlluniau mwyaf cymmeradwy er gwneuthur yr unrhyw.

Y mae yn bwnc na ddylai byth gael ei anghofio gan y Saint sydd yn dyfod yma, y gall y peiriannau mwyaf diwygiedig o bob math at arbed gwaith, (ag sydd â'u hanghen parhaus ar unrhyw wladoldeb), gael eu defnyddio yn llawer mwy manteisiol yn Deseret, nag mewn unrhyw le arall ar y ddaear. Tybier fod brawd sydd yn dyfod adref, yn dwyn ganddo ryw beiriant, â pha un y gallai hau, medi, dyrnu, nithio, neu wneuthur gwaith deg dyn wrth hyn, neu ryw orchwyl arall sydd yn anghenrheidiol ei wneuthur; yna gallai naw o henuriaid gael eu rhyddhau yn uniongyrchol o'u gwaith, a myned allan i bregethu yr Efengyl, ac ni ddyoddefai diwygiadau Deseret, neu y parotoiadau anghenrheidiol tuag at boblogaeth gynnyddol, un math a niwed; tra dan yr amgylchiadau presennol, y mae digon i bawb sydd yma i'w wneuthur, er parotoi tuag at ddyfodiad ereill; o ganlyniad, nid yw yn ddoethineb i ddanfon llawer o henuriaid ar genadiaethau tramor yn bresennol.

Yr oedd ein Cynghor-dŷ wedi ei orphen cyn belled, yn ystod yr hydref, ag i'r gwahanol ystafelloedd gael eu defnyddio trwy y gauaf, er llawenydd mawr i'r bobl hyn. Yr oedd Badd-dŷ y Ffynnon Dwymn wedi ei orphen, a'i gyssegru trwy weddi a gwledd, ar y 27ain o Dachwedd, oddiar ba amser y mae yn agored i'r cyhoedd, er iechyd a phleser. Cafodd ystordy y Degwm ei amgau yr hydref diweddaf, ac wedi ei orphen mor bell â bod un rhan o hono wedi ei defnyddio at ystôr, un arall at gadw ŷd, ereill at siopau crefftwyr, tra mae y seleri wedi eu llanw â llysieuau, a'r cyfan ar y ffordd o gwpla. Mae adeiladu hyd yn hyn yn cael ei rwystro, ar droion, o ddiffyg lumber; ond y mae yr argoelion yn dda am yr amser dyfodol. Mae amgau tiroedd y Brif-athrofa â mur ceryg wedi ei ddechreu, ac yn myned yn mlaen, gydag argoelion o orphen y tymmor hwn. Mae colledion mawr wedi eu dyoddef hyd yn hyn, trwy fod anifeiliaid yn myned ar goll; ond y mae y tir pori degymol, dernyn mawr o dir ar ffin ogleddol y ddinas, wedi cael ei gloddio a'i ffosi mor bell, ag y gorphenir ef yn fuan, a bydd o wasanaeth mawr y tymmor hwn. Pawb a allant ddyfod a gwirs Rhif. 9, a'u cânt o wasanaeth mawr i gloddio yn y dyffryn.

Mae y Dalaeth wedi defnyddio dwy fil o ddolars tuag at agor gweithfa wlan yn y dyffryn hwn, y tymmor presennol; ac unrhyw gyflawnder o gotwm anweithiedig, neu edafedd cotwm, a ellir ei ddwyn yma, a fydd yn dra defnyddiol i'w gymmysgu mewn rhai gwëadau, â'r gwlan a dyfa yn y dyffryn. Mae ein crochenydd-dy yn agos wedi ei orphen, ac yr ydym yn dysgwyl defnyddio llestri china o'n gwneuthuriad ein hunain yn mhen ychydig wythnosau. Mae sefydliadau at wneyd offer miniog wedi eu dechreu yn y ddinas, ar *scale* fach, ond y mae eisieu rhagor o weithyddion.

Syrthiodd eira ar y mynyddoedd sydd yn amgylchynu y Dyffryn hwn, ar y 10fed o Hydref, ac y mae wedi parhau hyd yr amser presennol, eithr ni fu eira yn y Dyffryn hyd y laf o Dachwedd, yr hwn oedd tua saith modfedd o ddyfnder; a'r rhew caled cyntaf oedd ar y 5med; a thrachefn ar y laf o Ragfyr syrthiodd oddeutu pedair modfedd o eira, ac ar brydiau ereill, y mae eira wedi syrthio, ond ddim braidd oll dros bedair neu bump troedfedd o drwch, yn y Dyffryn, yn ystod un ystorom. Y ddwy noson olaf yn Chwefror, oeddynt yr oeraf yn ystod y gauaf. Yr oedd y rhan fwyaf o fis Mawrth yn dra dymunol, a defnyddiwyd ef gan y ffermwyr er hau gwenith. Ni hauwyd cymmaint o wenith yn y dyffryn yr hydref diweddaf ag yn yr hydref cyn hyny, ond y mae llawer wedi ei hau y gwanwyn hwn. Mae hauad y gwanwyn yn llawn gystal cnwd, ag eiddo y gauaf, ac yn gystal mewn dognedd a rhinwedd. Mae yr wythnos olaf yn Mawrth a'r gyntaf yn Ebrill wedi derbyn ymweliad gwyntoedd uchel, ar yn ail o'r deau a'r gogledd orllewin; rhai cawodydd ysgafn, a rhai lluchiadau o eira, yn dair neu bedair modfedd, yn y nos, y rhai a glirient ymaith yn ystod y dydd dilynol; ac y mae hau gwenith yn parhau i fod yn brif waith y dydd, a gall barhau o bedair i bum wythnos.

Cyrhaeddodd yr Henuriad Amasa Lyman trwy y ffordd ogleddol, o California, ar y 30ain o Fedi; a'r Henuriad C. C. Rich, trwy yr un ffordd, a gyrhaeddodd ar y 12fed o Dachwedd, pob un yn dyfod gyda o ddeg-ar hugain i hanner cant o'r brodyr, ar eu dychweliad o'r Mwngloddiau Aur, o gynnyrch pa rai ni ddygasant ond ychydig iawn ganddynt; gorfodwyd rhai i fenthycia er dod adref; ac yr oedd llawer yn aros yn y mwngloddiau, ag a fuasent yn falch i ddychwelyd adref, pe gallent gael modd.

Ar y 7fed o Ragfyr, yr Henuriad George A. Smith a adawodd

y ddinas hon gyda oddeutu 130 o wyr, ychydig o deuluoedd, a chyflawnder o weddeuau, hadau, ac offerynau, i'r dyben o ddechreu sefydliad yn swydd Iron (Llyn Halen Fach), ynghylch 250 o filltiroedd, braidd yn ddeheuol. Yr ydym wedi clywed trwy genadwri uniongyrchol fod y drefedigaeth wedi ymsefydlu mewn lle da, daear a dwfr rhagorol, digonedd o goed, mwn haiarn, ac alum, gyda pheth argoelion am lo caled; cae o 1600 o erwau, a 400 o hono wedi ei hau, a'u bod yn bwriadu hau y cyfan y tymmor hwn. Ac y mae eu tai, y rhai ydynt i gyfansoddi amddiffynfa, a'u tŷ cwrdd, yn cael eu hadeiladu yn gyflym. Enw y lle yw Dinas Cedrwydd.

(*I'w barhau.*)

---

## HANES TAITH O DDINAS Y LLYN HALEN FAWR, AM BEDWAR CANT A HANNER O FILLTIROEDD I'R DEAU [ODDIWRTH CAPT. D. JONES].

[*Parhad o dud.* 202.]

RHAG. 5.—Teithiasom i'r deau, croesasom afon San Pete yr ail waith, ac yn yr hwyr gwersyllasom ar afon Seviere, yr hon sydd yn rhedeg o'r deau i'r gogledd orllewin, ac yn cynnwys cymmaint neu fwy o ddwfr â'r afon Teifi. Nid oes nemawr dir da ar ei glanau yma. Yma cyfarfuom â'r Utah Chief Walke a'i lwyth yn hela, amryw o honynt yn gleifion o'r frech goch. Gweiniasom a allem iddynt. Cyn cychwyn boreu dranoeth, ymgynnullasant yn nghyd i'n gwersyll a phregethwyd yr efengyl iddynt drwy ein cyfieithydd, D. B. Huntington: anrhegwyd hwy â Llyfr Mormon, ynghyd ag eglurhad o'i gynnwysiad yn fyr, a'n dybenion ninnau yn dyfod i'w plith, ynghyd â'u dyledswydd hwythau, &c. Gwrandawsant yn astud a difyr hyd y diwedd, pan yr atebodd eu Chief, Arapin, "eu bod hwy wedi clywed cryn lawer trwy draddodiad eu tadau am ryw lyfr o waith eu henafiaid," yr hwn a ddysgwylient ei gael trwy ddwylaw dynion gwynion; eu bod hwy yn deall eu hachau a'u henafiaeth, a'u bod yn bobl wynion, cywrain a da gynt; eithr, trwy droseddau ac anufydd-dod eu tadau i'r *Shinob* mawr, i'r dirywiad hwn ddod arnynt. Eu bod hwy yn addaw ufyddhau i'r Mormoniaid yn yr oll a geisient ganddynt, a thrwy hyny eu bod yn dysgwyl y gwareiddid hwynt, y deuent yn bobl gryfion, cywrain a dedwydd, ac y deuent yn

wynion a hardd etto, megys gynt. Helaethodd gyda llawenydd ymddangosiadol drwy'r oll o honynt, fod eu cynoeswyr yn dangos fod yr amser dedwydd hwn wrth y drws: eu bod hwy yn mawr lawenhau i weled y Mormoniaid yn sefydlu yn eu plith, &c. Gadawsom argraff ddaionus ar eu meddyliau, a chawsom ynddynt brofion anwrthwynebol mai gwir a ddywedir yn Llyfr Mormon am danynt. Difyrus oedd eu clywed yn ceisio ein dilyn yn canu, gweddio, &c.! Yr Arglwydd grasol a brysuro yr amser ag yr adferir hwythau i rwymyn y cyfammod newydd, fyddo ein gweddi.

Yma ymwelodd â ni rai brodyr o San Pete, ac a ddygasant samplau o halen a glo, pa rai a gawsant mewn helaethrwydd yn y mynyddoedd cyfagos; hefyd, daeth marsiandwr o'r enw Barney Ward yma â nwyddau i farsiandia gyda'r Indiaid, yr hwn a'n hysbysodd ei fod ef wedi bod 14 blynedd yn mhlith Indiaid y canol-fyd hwn—y gallem gael ffordd weddol wastad ar hyd y dyffryn hwn, oddieithr man neu ddau, am dros gan milltir, hyd Ddyffryn y Llyn Halen Fach, ac oddiyno hyd yr afon Colorado, wrth arllwysiad afon Mahobby, hyd pa fan, o gulfor California, barnai ef fod afon Colorado yn fordwyol. Hysbysodd Mr. Ward ni hefyd, ei fod ef wedi bod yn mhlith pobl a elwir y Moquis; eu bod yn bobl wynion, yn fedrus mewn celfyddydau, megys amaethyddiaeth, gwaeau, gwneyd dilladau, magu anifeiliaid, adeiladu, planu, &c.; eu bod yn wahanol yn eu holl ymddygiadau a'u hiaith i'r Yspaeniaid, nâ dim Indiaid o'u hamgylch, a'u bod yn bobl brydweddol, a'u benywod yn enwedig yn lân a theg. Desgrifia eu gwisgoedd yn debyg iawn i wisgoedd y cyffredin yn Nghymru. Llafuriant, a chodant gnydiau toreithiog o wenith, ŷd yr India, &c., mewn dyffryn helaeth a brâs, ar làn yr afon Colorado. Naddant eu tai gan mwyaf mewn creigiau cyfagos, er diogelwch rhag yr Indiaid cymmydogaethol, pa rai a ormesant arnynt yn enbyd. Dyweda Mr. Ward eu bod yn bur heddychol a chroesawus i ddyeithriaid; ddarfod iddynt eu lwytho ef a'i gyfeillion a digonedd o ymborth yn rhad,—ei fod ef wedi bwyta gwell afalau, gellyg (*pears*), &c., yno, nag yn un lle arall; ac i fod o'i gyfeillion ef yno un Cymro o waedoliaeth, yr hwn a ddeallai ambell i air Cymraeg yn unig, a'r hwn a dystiai mai Cymraeg a siaradai y brodorion hyn! Ni sicrhaf fi, wrth gwrs, faint o ymddiried a ddylem roi ar yr holl hanesion

uchod, etto nid ydynt anhygoel i mi pan ddeallaf gymmeriad yr hanesydd. Nid aml y gwelir cymmaint o fwg ag sydd yn cuddio y Madogiaid o wyddfod eu cyd-genedl o oes i oes, heb ei fod yn tarddu o beth tân, debygaf. Ond i ddychwedyd at hanes ein taith :—

Teithiasom hyd lan yr afon Seviere, a'r tir yn gwellhau hyd yr 1leg, pan yr ymgaeodd y mynyddoedd o'n blaen. Yn y boreu aeth P. P. Pratt a minnau ar geffylau o flaen y gwersyll i chwilio am ffordd rhwng y mynyddoedd. Tua machlud haul, fel yr oeddym yn myned trwy lwyn o goed cedrwydd, yn hollol ddiddysgwyl, clywem geffylau yn gwehyru, a buan y carlamai amryw tuag atom; deallasom wrth hyn, a chyfarthiad cwn lawer, fod Indiaid gerllaw; dilynasom ar ol y ceffylau i'r coed, a buan y gwelem *wicciups* (tai) yr Indiaid; eithr, yr oeddynt hwy yn y tufewn yn darparu i amddiffyn: galwasom hwynt allan, eithr ni ddeuent, hyd nes i ni waeddi "*Mormoni toowidgeweinio*; ar hyn deuent atom yn ddiarfog a siriol i siglo llaw, a'n groesawu; yr hyn a brofodd, fod enw y Mormoniaid yn mhlith anwariaid y mynyddoedd yn amddiffyniad i'w bywydau; pan yn mhlith "Cristionogion" fel eu gelwir, y mae yr un enw yn warth a diareb, ac mewn ambell fan yn peryglu bywyd ei feddiannydd! Onid yw hyn yn profi fod yr amser ar wawrio pan y bydd i "genfigen Ephraim beidio ?"

Aeth P. P. Pratt yn mlaen i'r mynydd, a dychwelais innau i gyfarwyddo y gwersyll yma i wersyllu, lle y cyfarfuom oll y noson hono.

Rhag. 12.—Dringasom riw go serth drwy gedrwydd, ac wedi disgyn tua 5 mynyd i'r ochr ddeheuol, tiriasom mewn dyffryn bach gwych ar lan yr afon Seviere, a llawnder o borfa a choed *pine* mawrion, &c. Gwersyllasom.

Boreu dranoeth, aeth pump o honom i chwilio ansawdd y wlad ; croesasom y Seviere ar y rhew, a galwasom y fan hon yn *Mary Vale*, 200 mynyd o D. Ll. H. F. Yn yr hwyr, wedi teithio yn galed trwy y dydd, trwy goedydd, a gweled llwybrau eirth, panthers, bleiddiaid, &c., cyrhaeddasom fforchiad yr afon, yn mha le yr unai hanner y dwfr a ddaethai o'r dwyrain, â'r hanner arall o'r deau. Gwelsom amryw Indiaid drwy y dydd yn crwydro yma a thraw am ysglyfaeth. Dychwelasom yn ol i gwrdd â'r gwersyll. Y tywydd yn oer, eithr nemawr eira yn y

dyffryn. Y mynyddoedd cylchynol yn wynion gan eira; y thermometer weithiau yn y nos islaw y pwynt rhewog.

Rhag. 14.—Yr oedd yn bwrw eira; cyrhaeddasom gwr eithaf y dyffryn, lle y deilliai yr afon o greigiau anferth, ac anmhosibl ei dilyn yn mhellach. Dranoeth chwiliwyd am ffordd rhwng y mynyddoedd, a methwyd cael un yn well na chroesi dros glogwyni anferth y Wasatch Range, yr hyn orchest a ystyrid gan lawer yn anmhosibl, yn enwedig yn nghanol y gauaf; eithr, yn wrol ac unol, ymroisom i'r gorchwyl, a boreu dranoeth, yr 16eg, dechreuasom ddringo, a rhai â bwyeill, rhai â rhawiau, ereill â cheibiau, &c.; drwy eira dwfn esgynem yn raddol i gastell duw yr eira, yr hwn ar y pryd a wysiodd ei holl alluoedd eiriawg a rhewawg i'n rhwystro; erbyn y nos cyrhaeddasom o dair i bedair milltir; weithiau gorfyddid ni i rwymo rhaffau wrth yr ychain, a'u llusgo trwy lwchfeydd o eira, a'u gosod hwythau i lusgo ereill, ac wedi hyny y wageni, felly dros glogwyni, gan eu llaesu i lawr wrth raffau. Dro arall gyrem y ceffylau i dori y ffordd drwy'r eira, pa rai a gleddid yn y garnedd, ac yno o herwydd yr oerfel ni ellid cael ganddynt wynebu yr ystorom. Rhai prydiau gorfyddid ni i glirio yr eira â rhawiau, a'r holl amser y buom yn croesi y rhestr hon, sef yn agos i wythnos, ni chafodd yr anifeiliaid fwyd ond brigau coed oedd allan o'r eira.

Er ein mawr lawenydd, cawsom ddisgynfa gul a graddol rhwng creigiau serth ac uchel yr ochr draw; gwelem fryniau weithiau braidd wedi eu gorchuddio â cheirw, defaid y mynydd, &c. Lladdais rai o honynt. Un boreu cawsom fod ein hanifeiliaid wedi gwasgaru, a buom rai bob ffordd ar geffylau yn chwilio am danynt drwy'r dydd, ac erbyn y nos cawsom yr oll; a chafodd rhai o'r ymchwilwyr allan hefyd, yn rhy ddiweddar, y gallasem gael agorfa hawdd i arbed croesi y rhestr hon i'r deau o'r fan hon. Wrth ddisgyn oddiyma, elem weithiau megys trwy byrth cyfyng, rhwng creigiau uchel, o bob lliwiau a lluniau, megys pe teithiem mewn hen gastell; yr oedd yr olygfa yn hynod a mawreddig. O'r diwedd arweiniodd yr agen hon ni i gongl ddwyreiniol Dyffryn y Llyn Halen Fach, ac yr oedd yr hinsawdd mor dymherus yma, yr eira wedi diflanu, y borfa mewn llawnder ac yn blaendarddu, a'r olygfa wedi cyfnewid mor hollol a disymmwth rhagor ag oedd ar ben y mynyddoedd, fel y galwasom y fan hon "Porth yr hâf." Yma gwersyllasom, a mawr y wledd a gafodd ein hanifeiliaid druain.

Oddiyma gwelem ddyffryn gwych yn cyrhaedd o'n blaen i'r deau orllewin cryn 30 mynyd, ac yn ei ganol lyn go fawr o ddwfr, ar yr hwn dysclaeriai yr haul megys ar wydr.

Rhag. 22.—Teithiasom hyd y dyffryn trwy wlad y cwningod, pa rai a frithent wyneb y tir, fel braidd y gellid saethu un ffordd heb ladd rhai; cawsom ein gwala o'r ymborth hyn y tro hwn. Y tir yn gwellhau. Yn yr hwyr gwersyllasom ar afon fach a godai yn y mynyddoedd deheuol, ac arllwysai yn mhen deg mynyd i'r llyn halen. O herwydd llesgedd yr ychain, a dymuniad i chwilio ansawdd y dyffryn newydd a hardd hwn, penderfynasom i adael yr ychain oll yma, ynghyd â'r wageni a 32 o wyr; yr 20 ereill a gychwynasom ar y 26ain i'r deau, gydag ugain o geffylau, a 12 o fulod i gludo ein hymborth, &c. Wedi teithio 6 mynyd drwy dir da, croesasom afon arall fwy na'r llall, glanau yr hon am amryw filltiroedd, sydd o ddaear rhagorol. Sefyllfa ragorol yw y fan hon i drefedigaeth, a llawnder o goed tanwydd, sef cedrwydd, &c., yn cyrhaedd hyd odrau y bryniau cyfagos. Parha y tywydd yma yn dymherus, ac weithiau yn dwymn y dydd, eithr yn iled oeraidd y boreu a'r hwyr. Wedi teithio tua 12 mynyd yn mhellach drwy y dolydd breision hyn, yn yr hwyr gwersyllasom ar y drydedd afon yn y dyffryn hardd hwn, wedi cael ein siomi yn fawr yn rhagoroldeb ei faintioli a'i fanteision, rhagor a feddyliem ar yr olwg gyntaf o hirbell. Mae y dyfroedd hyn yn risialaidd, oer a blasus, ac hynodrwydd penaf yr afonydd hyn yw eu bod yn rhedeg ar hyd cefnen o dir ag sydd braidd yn uwch nag un man arall o'r tir, yr hyn a'i gwna yn hawdd i ddwfrhau yr oll o honynt. Bernir y cynnyrcha rhan helaeth o'r gwaelodion hyn, wenith, ceirch, &c., heb ei ddwfrhau, a chredwn y cynnyrcha ŷd yr India, cotwm, cloron, &c., yn well, o herwydd yr hinsawdd, nag un man arall a welsom yn nyffrynoedd y mynyddoedd hyn: a sicr yw y gellid magu anifeiliaid yma heb nemawr gost. Rheda y brif ffordd i wlad yr aur o California, trwy ganol y dyffryn hwn, yr hyn a wna yma farchnadfa dda.

(*I'w barhau.*)

---

## CYMMANFA GYFFREDINOL NEILLDUOL.

Ar ddydd Llun, y 7fed o Orphenaf, cynnaliwyd y gymmanfa uchod yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr, pan y llywyddwyd gan y Llywydd W. Phillips. Yr oedd yn bresennol, y Llywydd

Phillips, R. Campbell, J. Davis, T. Pugh, T. Giles, E. Edwards, P. Seix, J. Roberts, ynghyd â lloned y neuadd o wahanol swyddogion ereill.

Wedi i'r Llywydd agor y cyfarfod, a chael ei gymmeradwyo i barhau llywyddu ei gynnadledd, aeth yn mlaen i ddysgu y swyddogion gwyddfodol, gan ddywedyd wrthynt, yn gymmaint â'u bod wedi dyfod i'r ffynnonell, am iddynt ddrachtio yn helaeth o honi, fel y gallent gario adref i'r Saint. Darluniodd pa fodd y mae swyddogion, pan wedi dyfod i blith yr offeiriadaeth, eu bod yn teimlo eu hunain yn fychain iawn, ac y byddai braidd yn well ganddynt beidio siarad na siarad. Dangosodd yn eglur fod yr egwyddor hon o Dduw, ac mai Ysbryd Duw sydd yn achosi hyny. Dywedodd wrthynt am fod yn ddynion bach bob amser, am mai felly y deuent yn ddynion mawr yn nheyrnas Dduw. Egwyddor arall a ddarfu iddo ei hegluro, oedd ofn yr Arglwydd ; dangosodd yr anghenrheidrwydd i'r egwyddor hon gynnyddu ynom, sef ofn anufyddhau i'r cynghorion a'r gorchymynion lleiaf; a dywedodd ei fod ef yn cael rhai personau, cangenau, a chynnadleddau, â llaw Duw arnynt, o herwydd eu bod yn gwario arian y llyfrau am fwyd a dillad, yn lle ymddiried yn Nuw. Dangosodd fod y llyfrau yn bethau neillduol iawn; ac os bydd arian y llyfrau yn cael eu gwario, pa fodd y gall y swyddfa dalu ei dyled? dywedodd hefyd fod pwy bynag sydd yn gwario neu yn benthycia arian Trysorfa Ymfudol y Tlawd, yn troseddu yn fawr iawn, a bod llaw Duw yn siwr o fod arno. Cofied pob llywydd, os bydd ef yn benthycia arian gan y trysorwr o'r drysorfa, ei fod ef yn droseddwr. Nid oes ganddo hawl i ofyn am danynt, o herwydd mai arian yr Eglwys ydynt; a gofaled y llywyddion yn unig fod trysorwr pob cangen yn danfon yr arian mewn amser i drysorwr y gynnadledd, ac yntau i brif drysorwr Cymru.

Yna galwyd ar y brawd Robert Campbell (o Dyffryn y Llyn Halen), yr hwn a anerchodd y dorf yn Saesneg, ar bynciau cyffelyb i'r brawd Phillips. Dywedodd fod llawer o ddynion da iawn i bregethu, megys Aaron gynt, ond yr oedd yn rhaid cael Moses i arwain Israel. Pe buasai dirgelion teyrnas Dduw yn cael eu dadguddio i ni yn bresennol, buasem yn debyg o'u camddefnyddio, fel y camddefnyddid oriawr yn llaw plentyn, o herwydd na wyddom ni pa fodd y mae eu defnyddio; y mae Duw yn rhoddi yn raddol i ni megys y cynnyddwn mewn gwybodaeth yn ei deyrnas. Dysgodd y llywyddion a'r henuriaid teithiol i fod yn garedig, ac yn llawn o'r Ysbryd Glân, wrth ddysgu y bobl, a pheidio bod y rhai cyntaf i achwyn ynghylch tlodi. Mae y gangen a fedda lywydd o ysbryd tlodi, a'i holl aelodau yn dlawd hefyd. Cofier fod ein Tad yn gyfoethog iawn, ac mai y tylotaf o'r Saint sydd yn cyfranu fwyaf at gario gwaith yr Arglwydd yn y blaen.

Yna cododd y Llywydd Phillips drachefn, a chynnygiodd nad oedd dim hen gownt i gael ei roddi mwy am lyfrau yn Nghymru, a bod i'r is-ddosparthwyr eu gwerthu am arian parod, ac yna

danfon yr arian i'r prif ddosparthwr, fel y gallo yntau eu danfon i'r swyddfa; ac yna cariwyd hyny yn unfrydol.

Wedi galw y brawd P. Seix i roddi desgrifiad o barth uchaf Sir Benfro, penderfynwyd fod cangenau Abergwaun, Trelettert, a Simpson, i'w gwneyd yn Gynnadledd, dan yr enw Cynnadledd Ogleddol Penfro, ac i gynnwys tref Aberteifi, a bod Phillip Seix i lywyddu, a David Williams a David Rees i fod yn gynghorwyr iddo.

Yna danfonwyd oddeutu deunaw o genadon i lafurio mewn lleoedd newyddion yn Nghynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, a Chynnadleddau ereill yn y Deheubarth, ac i ymdrechu sefydlu cangenau newyddion.

Cyfododd y Llywydd i roddi cynghorion i'r cenadon ynghylch eu dyledswyddau, ac i gymmeryd gofal na fydd iddynt gymmeryd eu hudo gan ferched, ac am iddynt weddio pan mewn eisieu, &c.

Canlynwyd ef gan y Llywydd J. Davis, yr hwn a gynghorodd y swyddogion i gadw cynghorion Duw, yn gystal â'i orchymynion pendant, trwy wneyd defnydd o'r Gair o Ddoethineb, yr hwn sydd yn gwahardd gwin a diod gadarn, tybaco, a diodydd twymnion, megys tê, coffi, &c.; ac anogodd i ymdrechu peidio bod yn nyled neb o ddim, eithr bod a'n golwg ar weithredu cyfiawnder.

Yna penderfynwyd fod John Roberts i lywyddu ar Gynnadledd Sir Frycheiniog, a bod cangenau Brynmawr a Waunhelygen i'w cynnwys yn y gynnadledd hono.

Penderfynwyd fod cangenau Llandudno, Eglwysfach, a Llanddoged, i'w gwneyd yn Gynnadledd, dan yr enw Cynnadledd Dyffryn Conwy, ac i gynnwys rhan o Sir Gaernarfon; a bod John Davies i fod yn llywydd, ac Isaac Morris a Barnett Parry yn gynghorwyr iddo.

Penderfynwyd fod Eliezer Edwards i fod yn henuriad teithiol yn y Gogledd dros y Brif Lywyddiaeth, ac i roddi cynghorion ac addysgiadau iddynt mewn awdurdod oddiwrth y Brif Lywyddiaeth yn Nghymru.

Cododd y Llywydd Pugh, ac a ddangosodd yn eglur alwedigaeth Duw, ac y gall rhai sydd yn dal îs swydd lywyddu ar rai sydd yn dal swydd uwch, &c.

William Phillips, *Llywydd*,
Richard Morris, *Ysgrifenydd*.

---

## YCHYDIG MEWN PERTHYNAS I FARWOLAETH PAUL YN RHUFAIN.

Paul, gwedi ei draddodi gan Nero yn rhwym at Zonginus, a Magistus, y pen swyddogion, ac Acostus y canwriad, fel y byddai iddynt ei arwain ef y tu allan i'r ddinas, a pheri tori ei ben ef.

Paul yn llawn o'r Ysbryd Glân, a lefarodd eiriau y bywyd

tragywyddol, fel y byddai i Nero, ac i bawb oll, gredu yn Iesu Grist, yr hwn ydoedd frenin y nefoedd a'r ddaear, yr hwn a ddinystriai ogoniant y byd â thân.

Ac fel yr oeddynt hwy yn ei dywys ef ymaith, Zonginus, Magistus, ac Acostus, a ddechreuasant lefaru wrtho ef, gan ddywedyd, Dywed i ni, O Paul, yn mha le y mae y Brenin hwnw? A pha le yr ymddengys efe i chwi? A pha fodd yr adnabyddwch chwi ef? A pha beth a ddyru efe i chwi? Neu pa ddaioni a dywallt efe arnoch chwi? Gan eich bod chwi, y Cristionogion, mor gadarn yn ei garu ef, fel na fydd i chwi mewn un modd gyduno â'n crefydd ni; fel y galloch fyw, a mwynhau daioni y bywyd hwn? Ond yn hytrach nâ'r holl bleserau, yr ydych chwi yn ymhyfrydu yn cael eich arwain i farw er ei fwyn ef, trwy amryw boenau. Canys y mae hyn yn ymddangos i ni yn gyfeiliornad mawr, casâu y bywyd llawen yma, ac ymgofleidio yn eich holl ddymuniadau, cystuddiau, a marwolaeth.

Paul, gan hyny, a ddywedodd, O chwi wŷr doethion, yn blodeuo mewn gwybodaeth, ymadewch allan o'r tywyllwch a'r cyfeiliornad, yn mha un y mae ardderchawgrwydd eich dealltwriaeth chwi gwedi ei orchuddio â thywyllwch, rhag i chwi weled y gwirionedd, yr hwn sydd yn gorwedd yn guddiedig ynoch; dychwelwch gan hyny lygaid eich meddyliau at y tragywyddol Dduw, y gwir oleuni, fel y byddoch abl yn gyntaf i adnabod eich hunain, ac felly dyfod i fewn cydnabyddiaeth a'r Brenin hwnw trwy lawenydd, a'ch achub chwi oddiwrth y tân sydd i dyfod o'r nef, ac felly cael bod yn ddifriw: canys nid yw efe yn dderbyniwr wyneb, megys yr ydych chwi yn tybied, eithr cyfiawn a santaidd yw Duw, a'r Arglwydd Iesu Grist, yr hwn, o herwydd yr anghyfiawnder a'r trais, a ddaw yn farnwr, ac a farna trwy dân. Dedwydd ydyw yr hwn a gredo ynddo ef, oblegid efe a gaiff fywyd tragywyddol, ac a fydd byw bywyd diddiwedd; a thra anhapus yw yr hwn gan ddirmygu ei haelionus olud, a'i hir-ymaros, ac ni ddychwelo ato ef, canys fe a dderfydd am dano yn dragywydd. R. G.

---

## GAIR O DDOETHINEB.

*Gair o Ddoethineb, er lles Cynghor o Archoffeiriaid, ymgynnulledig yn Kirtland, a'r Eglwys; ac hefyd y Saint yn Seion. I'w anfon yn anerch—nid trwy orchymyn neu orfodiad, ond trwy ddadguddiad a gair o ddoethineb, yn dangos trefn ac ewyllys Duw yn iachawdwriaeth dymmorol pob Saint yn y dyddiau diweddaf. A roddwyd er egwyddor gydag addewid, wedi ei gyfaddasu at gyrhaeddiadau y gwan a'r gwanaf o'r holl Saint, y rhai a elwir neu a ellir eu galw yn Saint.*

1. Wele, yn wir, fel hyn y dywed yr Arglwydd wrthych chwi, mewn canlyniad i'r drygioni a'r bwriadau ag ydynt ac a

fyddant yn bodoli yn nghalonau dynion bradwrus yn y dyddiau diweddaf, yr wyf wedi eich rhybyddio chwi, a'ch rhagrybyddio, trwy roddi i chwi y gair hwn o ddoethineb trwy ddadguddiad, yn gymmaint â bod un dyn yn yfed gwin neu ddiod gadarn yn eich plith chwi, wele nid yw dda, nac yn addas yn ngolwg eich Tad, ond yn unig mewn ymgynnull ynghyd i offrymu i fyny eich sacramentau ger ei fron ef. Ac wele, hyn a ddylai fod yn win, ïe, gwin pur o rawn y winwydden, o'ch gwneuthuriad eich hunain. A thrachefn, diodydd cryfion nid ydynt i'r bola, eithr at olchi eich cyrff. A thrachefn, tybaco nid yw i'r corff, nac ychwaith i'r bola, ac nid yw dda i ddyn, eithr sydd lysieuyn at friwiadau a phob anifeiliaid cleifion, i'w ddefnyddio gyda synwyr a medr. A thrachefn, diodydd twymnion nid ydynt i'r corff na'r bola.

2. A thrachefn, yn wir meddaf i chwi, pob llysiau iachus a ordeiniodd Duw i gyfansoddiad, natur a gwasanaeth dyn. Pob llysieuyn yn ei dymmor, a phob ffrwyth yn ei dymmor; yr holl rai hyn i gael eu defnyddio gyda doethineb a diolchgarwch.Ië, cig anifeiliaid hefyd, ac ehediaid yr awyr, myfi, yr Arglwydd a'u hordeiniais er defnydd dyn gyda diolchgarwch; er hyny y maent i gael eu defnyddio mewn cymmedroldeb; a boddhaol genyf fi fyddai peidio eu defnyddio ond yn unig yn amser gauaf, neu oerfel, neu newyn. Pob grawn a ordeiniwyd at wasanaeth dyn a bwystfilod, i fod yn ffon bywyd, nid yn unig i ddyn eithr hefyd i fwystfilod y maes, ac ehediaid y nef, a'r holl anifeiliaid gwylltion sydd yn rhedeg neu yn ymlusgo ar y ddaear; a'r rhai hyn a wnaeth Duw er defnydd dyn yn unig mewn amserau o newyn a chwant ymborth mawr.

3. Pob grawn sydd yn dda yn ymborth i ddyn, megys hefyd ffrwyth y winwydden, yr hon sydd yn dwyn ffrwyth, pa un ai yn y ddaear neu uwchlaw y ddaear. Er hyny, gwenith i ddyn, ac yd i'r ŷch, a cheirch i'r ceffyl, a rhyg i'r ehediaid a moch, ac i holl fwystfilod y maes, ac haidd i bob anifeiliaid gwasanaethgar, ac at ddiodydd gweinion, megys hefyd pob grawn arall. A'r holl saint ag ydynt yn cofio i gadw a gwneuthur yr ymadroddion hyn, ac yn rhodio mewn ufydd-dod i'r gorchymynion, a dderbyniant iechyd yn eu bogail, a mêr i'w hesgyrn, ac a gant afael mewn doethineb a thrysorau mawrion o wybodaeth, sef trysorau cuddiedig; a chant redeg heb ddiffygio, a rhodio heb lewygu; a myfi, yr Arglwydd, wyf yn rhoddi iddynt addewid, y bydd i'r angel dinystriol fyned heibio iddynt, megys plant Israel, a pheidio eu lladd hwynt. Amen.

**Yr ydym ni yn cymmeradwyo defnyddiad trwyadl o'r Gair blaenorol o Ddoethineb, i'r Deuddeg, yr Archoffeiriaid, y Degau a thrugain, yr Henuriaid, yr Esgobion, yr Offeiriaid, yr Athrawon, y Diaconiaid, y Brodyr a'r Chwiorydd, o Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf; a bod i swyddogion yr Eglwys yn**

gyffredinol, osod y peth o flaen yr Eglwys, fel y caffont gyfleusdra, naill ai yn wasgaredig neu yn gynnulledig; ac ymddyddan yn nghyd ynghylch yr egwyddorion a gynnwysir yn yr uchod, a phenderfynu pa un a ydynt wedi eu danfon allan trwy ddoethineb y nefoedd, neu trwy ffolineb dyn; ac os mai trwy ddoethineb, boed i bob un, a benderfyno felly, ddangos ei ffydd trwy ei weithredoedd, a phrofed i ereill fod ei ffydd yn ffydd achubol.

Paham nad yw yn ddoethineb i wneyd arferiad cyffredin o yfed tê, coffi, neu ddiodydd twymnion o unrhyw fath? Physygwyr, Athronwyr, Henuriaid yn Israel, a fyddwch chwi gystal ag ateb?—GOL. Y DESERET NEWS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

"ELUSENAU gwely angeu," ebe Dr. Sherlock, "ydynt yn rhy debyg i edifeirwch gwely angeu. Dynion a roddant eu meddiannau i Dduw ac i'r tlodion, yr un modd ag y gadawant eu pechodau, pryd nas gallant eu cadw yn hwy."

CELFYDDYD ardderchog yw i ddyn adnabod ei hunan yn dda; a dewrder ardderchog yw gwybod y ffordd i ymostwng.

---

TALIADAU O FEH. 27 HYD ORPH. 10.—Sir Fynwy, £1 10s; Sir Frycheiniog, £2; Morganwg Orllewinol, £3 17s; Sir Ddinbych, £2; Dinas, £2 0s 0½c; Llanilltyd, £1 4s; Pontytypridd, £1; Llanfabon, £1 7s; Cwmbach, 17s 7c; Pendulwyn, 9s 10½c; Twynyrodyn, 15s 4½; Llandaf, 10s; Caerdyf, £2 8s; Aberdare, £6 8s; Dowlais, £4 6s 9c; Hirwaun, £3; Rymni, £2 10s 6c; Cwmnedd, 11s 6c; Merthyr, 8s 5½c; Pendaren, £1 7s; Cefn, £1 14s; Ynysgou, 2s 1c; Eglwysnewydd, 4s. Cyfanswm, £40 11s 9c.

GWALLAU.—Yn Hanes Taith Capt. Jones, yn ein rhifyn diweddaf, diangodd "eiliad" am "mynyd," mewn amryw fanau. Mynyd yw y 60fed ran o radd, neu ryw gymmaint fwy na milltir; ac eiliad yw y 60fed ran o fynyd. Mae gradd yn 69 o filltiroedd.

☞ Derbyniasom lythyr oddiwrth Mrs. Lewis (gynt o Gydweli), o Ddinas Manti, yn cynnwys newyddion tra dyddorol, ond nid oes genym le iddo y tro hwn.

☞ Mae Llythyr Capt. Jones at y Llywydd Phillips, ar werth yn 14, Castle street, Merthyr. Ei bris yw ceiniog, a chynnwysa newyddion ardderchog.

☞ Yr oedd llawer iawn o bethau genym i'w cyhoeddi yn y rhifyn hwn, ond gorfodir ni i'w gadael hyd y nesaf.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr*.

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 15.] GORPHENAF 26, 1851. [PRIS 1*g*.

### PUMMED EPISTOL CYFFREDINOL PRIF-LYWYDDIAETH EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, O DDYFFRYN Y LLYN HALEN FAWR, TALAETH DESERET, AT Y SAINT GWASGAREDIG TRWY Y BYD.

[Parhad o dud. 219.]

AR y 27ain o Dachwedd, darfu i gorwm y Degau-a-thrigain, yn ymgynnulledig mewn cymmanfa, gytuno i adeiladu crwn-dŷ helaeth yn Ninas y Llyn Halen Fawr, i'w alw yn Neuadd Celfyddydol y Degau-a-thrigain; a phenodwyd Joseph Young, eu llywydd, yn ymddiriedolwr ac arolygwr y gwaith. Mae sylfaen y neuadd yn cael ei dechreu yn heol ddwyreiniol y Deml a'r ail heol ddeheuol, a byddai yn dda i'r Degau-a-thrigain sydd ar wasgar i ddanfon eu harian at y neuadd, i'r ymddiriedolwr, yn gymmaint ag yr ewyllysiont berchenogi rhanau, a chyfranogi o fendithion y neuadd ar eu dychweliad. Mae yr holl henuriaid yn y gwahanol gorwmau yn cael caniatâd i gymmeryd rhanau. Mae y dyben yn dra chanmoladwy yn y brodyr, ac y mae y fath adeilad yn eisieu yn fawr yn y lle hwn.

Mewn sesiwn neillduol o Lys Sirawl y Llyn Halen Fawr, ar y 3ydd o Ionawr, profwyd ychydig o ddynion ymfudol yn euog o ledrata, a dedfrydwyd hwynt i waith caled am wahanol dymmorau, y rhai, ar ol treulio rhan o'u hamser, a gawsant ryddhad gan yr *Executive*, ac a aethant ar eu ffordd i California, lle yr arfaethent fyned ar y cyntaf. Dyma y treial cyntaf gan reithwyr a fu yn

Nhalaeth Deseret oddiar ei sefydliad, a'r achos cyntaf i wysio uchel reithwyr. Meddylir fod ynghylch tri chant o ymfudwyr, y rhai a arosasant yn y dyffryn y gauaf diweddaf, wedi ymadael i'r mwn-gloddiau aur y gwanwyn hwn. Fe ddarfu i lawer o ymfudwyr, ar ol cyrhaedd y lle hwn, glywed yr efengyl, credu a chymmeryd eu bedyddio, ac mor bell â hyny dangosasant eu difrifoldeb trwy eu gweithredoedd; tra yr oedd rhai yn proffesu credu ac yn cymmeryd eu bedyddio, eithr y mae eu gweithredoedd wedi dynoethu eu rhagrith, ac y mae eu pechodau yn aros ar eu penau eu hunain. Oni buasai cymmeriadau felly, ni fyddai anghen rheithwyr yn Deseret hyd y dydd hwn.

Yn nechreu Ionawr, darfu i Ymgynnulliad Cyffredinol Deseret ganiatâu gweithred o gorffoliad i Ddinas y Llyn Halen Fawr; ac ar yr 11eg o'r un mis darfu i Gynghor Dinas y Llyn Halen Fawr gael ei reoleiddio; Jedediah M. Grant, yn faer, ynghyd â phedwar o henaduriaid, a naw o gynghorwyr; darfu i gyfraith freiniol ddechreu yn uniongyrchol daenu ei dylanwad trwy y ddinas. Ynghylch yr un amser, caniatawyd siarterau gan yr Ymgynnulliad Cyffredinol, yn ol y deisebau, i Ddinas Ogden, yn swydd Weber; i Ddinas Provo, yn swydd Utah; i Ddinas Manti, yn swydd Sanpete; ac i Ddinas Cedrwydd, yn swydd Haiarn. Cafodd yr holl swyddi yn y Dalaeth eu nerthu yn fawr trwy yr ymfudiad diweddaf, ac er yr amser hwnw y mae amryw o sefydliadau newyddion wedi eu cyfansoddi, ac y mae llesiant amaethyddol y dalaeth wedi ei fwyhau yn rhyfeddol.

Y mae rheilffordd wedi ei siartro, i gyrhaedd o'r Temple Block yn y ddinas hon i'r chwarel ceryg a'r mynydd ar y tu dwyreiniol, er cludo defnyddiau at adeiladu; ei gwneuthuriad i ddechreu yn ddioed.

Cyrhaeddodd cwmpeini bach o frodyr o Galifornia, trwy y ffordd ddeheuol, ar y 27ain o Ionawr, yn dwyn newyddion fod Tiriogaeth Utah wedi ei chorffoli, a Brigham Young wedi ei benodi yn Llywodraethwr, yr hyn a gadarnhawyd gan newyddion y mail dwyreiniol, mewn ffordd na rodda un lle i ammau; ond hyd yn hyn, nid ydys wedi derbyn y rhybydd awdurdodol, na'r mynegiadau, a'r papyrau. Nid ydym yn dysgwyl unrhyw deimlad na mudiad cyffrous a gwrthryfelgar yn ninasyddion Deseret yn y cyfnewidiad dysgwyliedig mewn achosion llywodraethol; eithr traws-symudiad rhwydd a llonydd o Dalaeth i Diriogaeth,

megys teithwyr blinedig yn disgyn i lawr o fryn mwynaidd gerllaw ochr eu ffordd gartref.

Fel pobl, yr ydym yn gwybod pa fodd i werthfawrogi, yn y modd mwyaf teimladwy, y llaw o gyfeillgarwch a estynwyd tuag at ein Talaeth ieuanc, gan y Llywodraeth Gyffredinol. Wedi dyfod i'r lle hwn megys ag y daeth dinasyddion Deseret, heb fodd i fywiolaethu, oddigerth llafur eu dwylaw, mewn gwlad anial, yn cael ei hamgylchynu gan anwariaid, ymosodiadau pa rai sydd wedi achosi llawer rhyfel-gyrch blinedig a chostfawr; bydd i'r cynnorthwy a roddir gan ein mam wlad, trwy gyfrwng y corffoliad tiriogaethol sydd yn agos, gael ei ddyledus gydnabod; ac o hyn allan, byddwn yn taer obeithio y caiff y teimladau mwyaf cyfeillgar eu meithrin yn wresog rhwng amrywiol Daleithiau a Thiriogaethau y genedl fawr hon, siarter cyfansoddiadol yr hon nis gellir rhagori arni.

Y mae Prif-lywyddiaeth Corwm y Degau-a-thrugain wedi bod mewn cynnadleddau mynych, y gauaf diweddaf, gyda llywyddion eu gwahanol gorwmau, yn chwilio i mewn i sefyllfa eu swyddogion, gan dori o'u swyddi bawb a wyddid eu bod wedi dianrhydeddu eu galwedigaeth uchel a santaidd, a llanw y bylchau â dynion teilwng; hefyd mewn llanw llefydd y rhai hyny a wyddis eu bod wedi marw er pan reoleiddiwyd y corwmau yn Nauvoo. Mae Corwm yr Archoffeiriaid, a Chorwmau ereill yr Eglwys, wedi bod yn cynnal eu cyfarfodydd wythnosol yn y Cynghor-dŷ yn ystod y gauaf, fel nad yw y tŷ braidd wedi bod yn oer er pan y mae wedi dod mor bell yn mlaen ag i gael ei ddefnyddio.

Yn Ionawr ymwelsom â'r brodyr yn swyddi Davis a Weber, a sefydlasom estynfa o Seion yn ninas Ogden, trwy benodi Llywyddiaeth, Uchel Gynghor, ac Esgobion: Loren Farr yw llywydd yr estynfa. Penodwyd hefyd swyddogion mewn amryw lefydd yn swydd Davis, yn ol fel yr oedd eisieu.

Darfu i'r Henuriaid Amasa Lyman a Charles C. Rich adael y lle hwn yn gynnar yn Mawrth, gydag ereill, y gwersyll yn cynnwys oddeutu cant a hanner o wageni (rhai o ba rai oeddynt i aros a sefydlu eu hunain yn swydd Haiarn), i'r dyben o sefydlu sefydliad yn y parth deheuol o California, ddim pellder mawr o San Diego, ac yn agos i William's Ranche a'r Cahone Pass, rhwng pa lefydd a swydd Haiarn, yr ydym yn bwriadu dechreu sefydliadau mor gynted ag y byddo yn bosibl, yr hyn a wna yr

Henuriad Lyman ar ei daith, os yn ddichonadwy, fel ag y gellir cael llinell barhaus o leoedd cyfleus i deithwyr rhwng y pwynt hwn a'r Môr Tawel, yr hon ffordd a ellir ei theithio yn ystod misoedd y gauaf.

Ar y 19eg o Fawrth, darfu i ni ymweled â'r Saint yn Utah, a chorffoli estynfa o Seion yn ninas Provo, trwy benodi Isaac Higbee yn Llywydd, ynghyd â chyngorwyr iddo, Uchel Gynghor, ac Esgobion.—Ar y 24ain, ymwelsom â gwersyll yr Henuriaid Lyman a Rich, yn Payson, a gwelsom hwynt wedi rheoleiddo eu hunain yn barod i ymadael. Y mae yr Henuriad Pace yn llywyddu ar y gangen yn Payson, yr hwn sydd yn nghilfach Peteetneet. Y mae sefydliadau hefyd yn Pleasant Grove a Springville. Gadawsom yr Henuriad P. P. Pratt, ynghyd â'r Esgob John Murdock, a'r Henuriad William J. Perkins, John S. Woodbury, Richard R. Hopkins, Philo B. Wood, Morris Minor, a Francis A. Hammond, gyda chwmpeini yr Henuriad Lyman, ar ei genadiaeth tua'r Môr Tawel.

Mae ein dinas yn awr yn cael ei hamgau yn *blocks*, yn lle adranau fel o'r blaen, ac y mae llawer o goed cysgodol yn cael eu planu ar gyffiniau y rhodfeydd ochrawl. Mae ysgoldai wedi eu hadeiladu yn y rhan fwyaf o'r adranau yn y ddinas ac allan yn y wlad, ac y mae ysgolion wedi eu cynnal ynddynt y gauaf diweddaf, ac yr ydym yn dysgwyl yn llawen fod yr amser wedi dyfod pan y gall ein plant gyfranogi o fendithion ysgolion cysson a pharhaus yn eu gwahanol adranau. Mae y Fam Ysgol mewn gweithrediad llwyddiannus yn y Cynghordŷ, dan ofal athrawaidd y Canghellydd O. Spencer, a'r Rhaglaw W. W. Phelps. Dyben yr ysgol hon yw parotoi ei hysgolheigion i ddyfod yn athrawon, ac at ddysgu pawb fyddo â dymuniad i gyrhaedd y cangenau uchaf o ddysgeidiaeth. Golygir i'r fam Ysgol fod yn agored yn barhaus.

Hyd yn hyn, mae ymfudwyr California wedi bod yn arferol o adael eu cleifion ar ein dwylaw ni, a chost trwm arnynt, ac yn ymadael heb rybyddio; yn troi eu gweddeuau yn rhyddion yn ein heolydd, ac yn agos i'n dinas, yr hyn sydd wedi achosi dystryw mawr ar gnydau a glaswellt, fel pan fyddai arnom eisieu llwyth o wair, yr oedd genym o ddeg i ugain milltir i'w ymofyn, a gyru ein henifeiliaid i bellder mwy eilwaith i bori y gauaf dilynyl; eithr oddiar pan ydym wedi sefydlu corfforiad

amasol, y mae *quarantine* wedi cael ei ddwyn i mewn, ac ni chaniateir i un math o anifeiliaid i grwydro y tu fewn i'r fwrdeisdref, yr hon sydd yn cyrhaedd ryw chwech neu wyth milltir yn ysgwar; ac wedi i'r tiroedd amgylchynol gael eu hamgen, bydd y cyfleusdra yn ein cymmydogaeth uniongyrchol ni, i'r rhai hyny sydd yn teithio yn dorfeydd, yn fychan yn wir; a chredwn y byddai yn fwy cyfleus i'r cyflawnder mawr o deithwyr i'r mwngloddiau i fyned trwy Fort Hall, neu ryw ffordd yn ogleddol i hon, gan yr arbedent iddynt eu hunain y cost a'r attalfa o *quarantine*, ac anghyfleusderau ereill yn cyfodi oddiwrth ymsefydliad amserol yn agos i ddinas boblog, lle na chaniateir i anifeiliaid redeg yn benrhydd.

Mewn dysgwyliad am y cyfnewidiaid yn ein llywodraeth, ac i swyddhau busness, y mae Ymgynnulliad Cyffredinol Deseret wedi apwyntio y Llywodraethwr Young yn ddirprwywr, i dderbyn yr 20,000 dolars a roddwyd gan y Congress i adeiladu Tŷ Taleithiol yn Nhiriogaeth Utah, ac i beri fod y cyfryw dŷ i gael ei adeiladu yn ddioed ar Union Square, yn y ddinas hon, ychydig yn ogledd orllewinol i'r Temple block; ac addoedodd yr Ymgynnulliad *sine die* dydd Sadwrn diweddaf. Mae Dr. J. M. Bernhisel wedi ei benodi gan y Llywydd i ddethol llyfrgell Utah, at yr hyn y mae Congress wedi rhoddi 5,000 o ddolars, ac yn ol ein llythyron diweddaf, yr oedd efe yn New York yn gwneuthur y detholiad. Mae Dr. Bernhisel wedi cyhoeddi llythyr, yn erfyn ar olygwyr a chyhoeddwyr newyddiaduron, cyhoeddiadau, a phamphletau, a llyfrau, am ddanfon copi o'u cynnyrchiadau i Ddinas y Llyn Halen Fawr, er iles llyfrgell Utah. Teimlwn yn llawen i hysbysu fod ychydig o newyddiaduron a phamphletau wedi cyrhaedd eisoes; ac os bydd i gyfeillion dysgeidiaeth yn gyffredinol wneuthur yr un fath, bydd i ni yn fuan gael ystafell ddarllen werthfawr yn berthynol i lyfrgell Utah, yr hyn a achosa i fendithion miloedd i orphwys ar benau y cyfranwyr haelionus.

Y mae lleshad mwyaf y Drysorfa Ymfudol Barhaus yn gysson yn ein golwg, a dymunem ddangos pwysfawrogrwydd ei dyben i'r Saint, ac erfyn arnynt i ychwanegu at ei thrysorfeydd mewn pob dull canmoladwy; canys wedi y caffom ni unwaith ffordd uniongyrchol wedi ei sefydlu rhwng yma a'r Môr Tawel, bydd y trysorfeydd hyny yn dyfod i wasanaethu mewn modd mwy effeithiol nag y gallant dan yr amgylchiadau presennol. Yr

ydym ni yn edrych yn mlaen mewn gobaith nad yw yr amser yn mhell, pan y ceir y trosglwyddiad mwyaf cyflym rhwng y llehwn a'r goror gorllewinol.

Bydd yn ddoethineb i'r Saint Seisneg beidio ymfudo ar hyd y ffordd arferol trwy y Taleithiau, ac i fyny ar hyd afon Missouri, eithr aros lle y maent hyd oni chlywant oddiwrthym etto; gan mai ein bwriad yw agor ffordd yn groes i ganolbarth y cyfandir, ger Panama, Tehuantepec, neu rai o'r ffyrdd canolbarthol, a'u lànio hwy yn San Diego, ac felly arbed tair mil o filldiroedd o deithio ar afonydd trwy hinsawdd a gwlad afiachus. Bydd i'r Llywyddiaeth yn Liverpool agor pob gohebiaeth dymunol ynghylch yr amrywiol ffyrdd, a'r prisiau a'r cyfleusderau, o Liverpool i San Diego, a rhoi mynegiad cynnar, fel, os yn bosibl, y gellir gwneyd y parotoiadau anghenrheidiol erbyn ymfudiad yr hydref nesaf.

Yr ydym yn bwriadu adeiladu mur oddiamgylch y Temple Block y tymmor hwn, erbyn gosod sylfaen y Deml y flwyddyn nesaf; a hyn yr ydym yn sicr o'i gyflawni, os gwna yr holl Saint brofi eu hunain mor barod i dalu eu degwm, ac aberthu a chyssegru o'u heiddo, ag y byddwn ni: os na wna y Saint dalu eu degwm, nis gallwn adeiladu, nac ychwaith barotoi at adeiladu; ac os na adeiladir Teml, nis gall y Saint dderbyn cynnysgaethiadau; ac os na chant dderbyn cynnysgaethiadau, nis gallant byth gyrhaedd yr iachawdwriaeth hwnw ag y dysgwyliant am dano mor bryderus. Cyn belled ag y mae y Saint yn yr unol Daleithiau a Chanada yn ewyllysio gweled gwaith Duw yn llwyddo, bydded iddynt gyfodi megys un dyn, a dyfod i Deseret, lle y gallant wneuthur mwy dros Seion mewn un flwyddyn, nag a allant wneuthur lle y maent dros amryw flynyddau. Dewch ar hyd ffordd y Saint y tu gogleddol i'r Platte, megys y dangosasom yn ein hepistol diweddaf, gan adael y monwentydd ar y tu deheuol i'r Platte i adgyfodiad dyfodol. Pe cytunai pawb yn y mudiad hwn, ni fuasai achos fod un Sant yn cael ei adael yn y Taleithiau neu Canada flwyddyn yn ychwaneg. Y mae hyn yn ddoethineb; ond os bydd i chwi barhau dal gafael yn eich ffermydd, a'ch diwygiadau, a'ch eiddo, i'r dyben o wella y prisiau, a gwneuthur arian, gellwch ddysgwyl eisieu cynnorthwy mewn dydd dyfodol, pan y bydd yn anhawdd ei gael; ac nid oes achos i'r Saint ddysgwyl amser mwy cyfleus i ymgasglu allan o'r Taleithiau na'r presennol.

Mae yr Indiaid wedi bod yn aflonydd yn eu gweithrediadau y gauaf diweddaf, gan yru ymaith yr anifeiliaid i sefydliadau pellenig, ond gyda llai o fygwthio bywydau nag o'r blaen, ac yn fwy dirgelaidd yn eu difrodiadau.

Ychydig iawn o lythyron ydym wedi dderbyn oddiwrth yr henuriaid gwasgaredig oddiar ein hepistol diweddaf, er fod mail yn rhedeg yn fisol rhwng yma ag Independence, Mo., pan na rwystrir ef gan eira, megys y mae wedi bod y rhan fwyaf o'r tri mis diweddaf. Mae y Deuddeg Apostol ar wasgar, oddieithr Wilford Woodruff ac Ezra T. Benson, y rhai ydynt yn y dyffryn. Mae eu llywydd, Orson Hyde, yn sefydlog yn Kanesville, Iowa, a dysgwylir iddo ymweled â'r dyffryn yr haf hwn. Mae P. P. Pratt ar ei ffordd i'r Society a'r Sandwich Islands, a Chili; mae ei genadiaeth yn cyrhaedd yr holl diroedd yn, ac ar gyffiniau y Môr Tawel. Yn ol yr hanesion diweddaraf, yr oedd y gwaith yn llwyddiannus iawn yn y Society Isles. Nid ydym wedi clywed oddiwrth y genadiaeth yn Sandwich oddiar pan aeth yr Henuriad Hiram Clark a'i gymdeithion yno. Meddylir fod Orson Pratt yn y Taleithiau ar ei ffordd i'r dyffryn, lle y bydd mewn cyssylltiad â Phrif Athrofa Deseret am dymmor. Yr oedd John Taylor yn Boulogne, yn Ffrainc, pan glywsom ddiweddaf, yn pregethu, cyfieithu, a chyhoeddi. Yr oedd Lorenzo Snow, yn ei ymweliad â'r Taleithiau Italaidd, wedi ymsefydlu yn Piedmont. Y mae Erastus Snow yn Copenhagen, ac y mae'r gwaith ar ei gynnydd yn Sweden, Denmarc, Norway, Germani, ac yn y parthau hyny. Derbyniasom lythyr oddiwrth y brawd Snow, dyddiedig Copenhagen, Awst 17, 1850. Y mae efe yn cyfieithu Llyfr Mormon. —Mae Franklin D. Richards yn llywyddu ar yr Eglwys yn yr Ynysoedd Prydeinig, ac y mae ei swyddfa yn Liverpool. Y mae Amasa Lyman a Charles C. Rich, ar eu ffordd i'r Cahone Pass. Mae George A. Smith yn llywyddu yn swydd Haiarn. Y mae cenadwri y Deuddeg Apostol sydd yn awr ar wasgar at bob cenedl, llwyth, iaith, a phobl, ar wyneb yr holl ddaear; a pha bryd a pha le bynag yr agoro yr Arglwydd ddrws i'w derbyn, bydd iddynt wasgaru yr hâd, ac os bydd anghen, gadawant ddynion doeth i gasglu y cynauaf, gan gael eu harwain, eu cyfarwyddo, a'u cynghori yn eu holl symudiadau gan yr egwyddor o ddadguddiad, a'r Ysbryd Glân yn trigo o'u mewn; a bydded i Dduw Abraham a Joseph eu cynnorthwyo ar eu cenadiaethau, canys yn

wir na chant amser i bregethu i bob cenedl cyn y bydd i bob cnawd gael eu taro ag ofn a dychryn wrth edrych ar y pethau ag y mae yr Arglwydd ynghylch eu dwyn oddiamgylch, canys y mae drygioni dyn yn fawr o'i flaen Ef, a'r ddaear a bura efe â thân.

Y mae mwy o afiechyd wedi bod yn y dyfryn y gwanwyn hwn nag arferol, ac amryw o farwolaethau, er fod y bobl yn y dyffrynoedd ereill wedi bod yn iach yn gyffredinol. Nis gwyddom ni pa beth yw yr achos nad yw y dyffryn hwn mor iachus yn ei leoliad a'i nodweddiad ag unrhyw un arall; ond gan mai hwn yw y lle y daw y Saint iddo gyntaf, y mae y rhan fwyaf o'r rhai egwan yn aros yma, lle y gallant gael cysuron bywyd yn rhwyddach, tra mae y rhan gryfaf yn myned yn mlaen i sefydliadau newyddach; ac y mae llawer iawn o'r afiechyd yn ein plith yn cyfodi oddiwrth hadau afiechyd a marwolaeth ag sydd wedi eu hau yn y cyfansoddiad tra yn aros a myned trwy barthau twymynol y Taleithiau gorllewinol. Y mae afiechyd yma yn gyffredin o fyr barhad, ac yn terfynu yn fuan naill ai mewn iechyd neu farwolaeth. Mae teuluoedd yr henuriaid sydd ar y cenadiaethau tramor yn mwynhau eu hiechyd arferol yr amser hwn.

Ni ddylai y Saint yn eu hymgasgliad byth anghofio casglu a dwyn ganddynt bob math o hadau, canys dyma y lle iddynt dyfu a bod yn ddefnyddiol; cyflawnder mawr o *osage orange*, a hadau ereill addas at berthi, trwy ba rai y gellir rhedeg gwirs i wneuthur clawdd, ydynt yn dra anghenrheidiol yr amser hwn. Dygwch yr holl hoelion dellt a *shingle* a ellwch gael, hefyd gwydr, gwirs rhif. 9, cotwm anweithiedig, cotwm nyddedig, peirianwaith, a phethau anhebgor tŷ.

Yn nghanol yr holl chwyldroadau ag sydd yn cymmeryd lle yn mhlith y cenedloedd, bydded i'r henuriaid o hyd ddilyn cwrs diwyrni wrth fod yn ddarostyngedig i'r llywodraeth lle bynag y byddont, a chynnal i fyny yr unrhyw yn eu holl esiamplau o flaen y Saint, gan beidio ymwneyd dim â chwestiynau politicaidd y rhai sydd yn magu amryson, a chofio nad yw arfau eu milwriaeth yn gnawdol, eithr yn ysbrydol, ac nad yw yr Efengyl a bregethant o ddyn, eithr o'r nef; ac os erlidiant chwi heb fesur, mewn un ddinas, gwlad, neu deyrnas, gadewch y dystiolaeth a roddodd yr Iesu i fod yn dyst i'ch Tad yn y nefoedd, eich bod

chwi yn rhydd oddiwrth eu gwaed, a ffowch i ddinasoedd, gwledydd, neu deyrnasoedd ereill lle y derbyniont chwi ac y credont eich tystiolaeth.

Yn ystod dechreu sessiwn diweddaf Ymgynnulliad Cyffredinol Deseret, corffolwyd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn gorff politicaidd, yn unol ag egwyddorion cyffredinol o gydgorffoliaeth, a roddir gan lywodraethau cristionogol i gymdeithasau crefyddol, gyda gallu i ddewis ymddiriedolwr ac ymddiriedolwyr cynnorthwyol i gadw meddiant, a thrafod achosion arianol yr Eglwys, er ei lles a'i hwylusdod; ac yn ystod y gymmanfa gyffredinol bresennol, etholwyd y Llywydd Brigham Young yn unfrydol a rheolaidd yn ymddiriedolwr yr eglwys, ac Edward Hunter yn ymddiriedolwr cynnorthwyol, ac yn Esgob Llywyddol.

Os agora y ffordd i ryw rai o'r Saint gwasgaredig (heblaw y rhai a gynghorasom yn flaenorol i aros lle y maent) i forio yn uniongyrchol i San Diego, yn California, bydded iddynt wneuthur felly, ac oddi yno gallant weithio eu ffordd i'r sefydliad sydd ar gael ei ddechreu gan y brodyr Lyman a Rich yn y gymmydogaeth hono, ac oddi yno i'r lle hwn.

Boed i râs, trugaredd, tangnefedd, a llwyddiant, gael eu hychwanegu i'r holl Saint, yn enw Iesu. Amen.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
WILLARD RICHARDS.

Dinas y Llyn Halen Fawr, Deseret, Ebrill 7, 1851.

---

## HANES TAITH O DDINAS Y LLYN HALEN FAWR, AM BEDWAR CANT A HANNER O FILLTIROEDD I'R DEAU [ODDIWRTH CAPT. D. JONES].

[*Parhad o dud.* 223]

DRANOETH, wedi teithio trwy wlad hyfryd, yn y prydnawn safem ar gefnen, o ba le gwelem ddyffryn eangach fyth, yr hwn sydd tua 15 mynyd o led ar ein cyfer; cyrhaedda i'r deau rhwng dwy restr o fynyddau o'r golwg, ac i'r gogledd tuag 20 mynyd, neu fwy, yna i'r gorllewin am 100, a hanner hyny o led. Wrth ein traed ffrydia tair o *springs* cryfion o ddwfr gloew,

y rhai a ffurfiant ddigon o ddwfr i droi melinau ac a ddwfrhant weirgloddiau yn eu rhediad i lawr i'r afon fawr ag sydd yn rhedeg trwy ganol y dyffryn hwn, ar lanau dwyreiniol yr hon y mae miloedd o erwau o dir dymunol, etto nid nemawr mewn cyferbyniad i'r hyn sydd ar ei hochr orllewinol; pa le, y barnem fod tuag 20 mil o erwau o ddolydd breision a gwastad; a thu cefn i hyny, gymmaint, neu fwy, o dir llafur da, yr hwn a gyrhaedda hyd odrau y bryniau gorllewinol, y rhai a godant yn raddol ac a orchuddir â chedrwydd, &c. Yn y gorllewin i'r fan a ddesgrifiaf yn awr, y mae mynydd go uchel a chribog, yr hwn a farnem ei fod o fŵn haiarn cyfoethocaf a'r a welodd un o honom ni erioed; heblaw amryw fathau o fŵn ereill yn y gymmydogaeth hono. Ystyriwn y darganfyddiad hwn yn anmhrisiadwy yn y fan hon. Dywedodd rhai o'n cwmni iddynt weled glo hefyd gerllaw, eithr ni welais i ddim o hono. Diau mai sefyllfa hyfryd a masgnachol iawn yw hon i drefedigaeth. Masgnachol, meddaf, o herwydd yr haiarn, &c., mor gyfleus a helaeth,—yn sefyll tua hanner y ffordd rhwng Dinas y Llyn Halen a'r môr Tawel, neu gulfor California. Hyfryd, o herwydd bod y wlad yn agor oddiyma i'r deau, a'r hinsawdd yn dymherus, a gorweddiad y wlad mor fanteisiol a hardd. Lle odiaeth i adeiladu dinas sydd yn ngodrau y bryniau hyn, lle y mae digonedd o danwydd, dwfr, a daear, ac awyr iach i anadlu. Caniatewch i mi am fynyd i ddesgrifio y ddychymmyg a gynlluniais tra yn sefyll yn y fan hon! Gwelaf yma ddinas hardd yn gangen o fynydd Seion, a digon o le i estyn ei chortynau ffordd y myno;—o'i blaen, i'r dwyrain, a'r hwn a arolygo, o bob cwr o honi, gwelaf feusydd mawrion yn gwynu i'r cynauaf, eu llon berchenogion yn gwenu yn yr olwg arnynt, heb feddwl talu i neb na rhent na nemawr dreth am ddim o honynt, eithr pawb yn rhydd fwynhau ei wala o'r holl elfenau. Tuhwnt i'r gwyngnydau hyn, estyna y dolydd breision eu gwyrddlas *garpets* godidog, ar hyd y rhai y chwareua miloedd dirif o ychain, gwartheg, a lloi, deadellau defaid, y rhai a lanwant eu crwyn â'r brasder hwn mewn byr amser. Er diwallu eu hanghenion, rheda yr afon yn araf a hwyrfrydig heibio yr olygfa fawreddig, tra ar hyd ei glanau prydferth prancia gyroedd o feirch gyda gwehyriad ymffrostgar, dan deimlad o'u hanymddibyniaeth yn y baradwys orllewinol hon. Etto ni cheua y darlun nes i'm weled lluoedd o

hîl Gomer, ag sydd yn awr mewn caethiwed a thylodi, eu gwragedd a'u plant, yn lle newyn a gormes, yma yn mwynhau eu gwala; a'i holl drigolion yn siriol a gwrddaf hyd ei heolydd hardd a hirion hi. Ond, ust! digon bellach, fy ewyllys i yw hyn, er na ddaw byth efallai i ben; o'r hyn lleiaf, nid oes yma yn awr na thy na thwlc, ond eiddo yr Indiaid, nac anifail, ond a a ddygasom yma, ac ambell garw, blaidd, neu gwningen. Ei hunig breswylwyr yw ychydig Indiaid o lwyth *Pah Utah*, y rhai a dreiglant dros y wlad heb ganfod ei gwerth na'i rhagoroldeb, na dymuno ond fel cadno ei ysglyfaeth.

Oddiyma aethom i fyny i'r dyffryn deheuol drwy weirgloddiau ffrwythlawn, a chroesasom amryw aberoedd a'i dwfrhant. Y trydydd dydd, croesasom afon fach a reda yn groes i'r dyffryn, yr hwn erbyn hyn a gulha i tua 7 mynyd o led; gellid yn hawdd droi yr aber hon i redeg i'r gogledd, i gymmysgu â dyfroedd y "Great Basin," a chyda hwynt i'r moroedd dwyreiniol filoedd o filltiroedd oddiyma; eithr wedi bod rhwng dau feddwl yn hir, penderfyna ŵyro i'r deau, ac yn fuan llyncir hi i grombil yr afon Rio Virgin, yr hon ychydig i'r deau a ferwa allan o ganol craig anferth, nes chwyddo at dorau ein ceffylau wrth ei chroesi, a gyflyma tua'r deau ychydig, ac a ruthra i ogof o dan fynydd o'n golwg, am tua 5 mynyd, ac yna y daw i oleu dydd drachefn, gan brysuro i gyfarfod a'i mam, sef y Rio Colorado, a chyda hi i gulfor California, yr hyn a brofa ein bod ni yn awr wedi pasio y gefnen uchaf o'r cyfandir hwn, ac o ba le y mae disgynfa tua'r Môr Tawel. Cyfnewidia yr hinsawdd yn awr bob dydd braidd yn fwy tymherus; dim eira na mynyddau eiriawg mwy ond o'n hol; y dail yn tori allan ar y coed mân a'r llysiau; yr oll o ba rai y'nt o rywogaeth arall, tebygcach i eiddo y *tropics*. Mae y ddaearyddiaeth a'r olygfa wedi cyfnewid yn hollol hefyd. Yn awr, mae y wlad a'i gwyneb yn edrych y ffordd arall, fel pe bai wedi troi drach ei chefn. Ymddengys fel pe baem yn cyflymu i waered i ryw le! Mae y wlad yn dalpiau a chlogwyni wedi eu chwilfriwio gan ryw beth, ac yn estyn yn feinciau i'r deau, o benau pa rai neidia gannoedd o droedfeddi i ddechreu mainc arall. Ar y creigiau amrywiog hyn, gwelir arwydd-luniau o bob math braidd, *hieroglyphiecs*, cerfiadau, ynghyd â chof-adeiladau o fawredd a henafiaeth y genedl a'u gwnaeth. Copiwyd amryw o honynt; dyweda ein

doethion, y rhai a ddehonglant rai o honynt, eu bod yn efelychu y rhai oedd ar lafnau Llyfr Mormon. Nid allai y brodorion hyn, y rhai ydynt o lwyth y Pah Utahs, ac yn gwibio hyd y wlad heb sefydlu, adeiladu na llafurio, meddu dryllіau, na gwisgoedd ond o grwyn cwningod, roddi i ni ddim eglurhad o honynt, ond mai yno y gwelsant hwy hwynt.

Mae yn amlwg ei bod yn Wanwyn yn y wlad hon, er nad yw ond dechreu Ionawr gyda ni. Y mae y wlad oll, nid yn unig y gwaelodion, ond y bryniau, yn llaid gwyllt, fel ag y mae braidd yn anmhosibl teithio. Mae pawb yn gorfod ei throedio hi yn yn awr, o herwydd bod y ceffylau yn suddo; y mae y mulod, er eu holl gywreinrwydd i geisio sengu ar geryg, yn suddo hyd eu torau, ac yn methu codi, fel yr y'm yn gorfod tynu eu llwythau i lawr yn aml, weithiau hanner dwsin neu fwy ar unwaith. Gorfodir ni yn awr bob nos i gadw un neu fwy o'r Indiaid yn ein gwersyll yn wystl na ddyga y lleill ein hanifeiliaid, &c. Fel hyn teithiasom yn anghysurus a blinedig i lawr ar hyd glanau yr afon Rio Virgin, yr hon erbyn hyn, a dderbynia aberoedd ereill i'w chôl, hyd nes y cyrhaeddasom arllwysiad y Santa Clara iddi. Rhuthra yn awr rhwng creigiau uchel a geirwon. Cyfartalwch gweddol o goed ar hyd-ddi, ac ambell lanerch bach paradwysaidd, lle y bu yr Indiaid yn planu *corn*, &c., eithr yn rhy gyfyng i drefedigaeth. O herwydd gwaeledd ein hanifeiliaid a chyflwr lleidiog y wlad, gorfodwyd ni i gyfnewid ein bwriad a'n cwrs, ac oddiyma dilynasom yr afon olaf a enwyd i'r gorllewin. Yr oeddem wedi bwriadu dilyn yn mlaen i'r deau, hyd y Colorado, i chwilio allan y Moquis, &c.; ond o herwydd yr hyn a nodwyd, barnasom yn ddoethaf i ddychwelyd. Yn y parthau hyn ymgasglai ugeiniau o'r trigolion o'n hamgylch, ac ysgyrnygant eu dannedd weithiau yn hyll. Mynych y gwlawiai yma tra nad oedd genym ddim i'n cysgodi rhagddo, na rhag un niwed arall, ond blankets, neu groen Buffalo, yr hwn a daenem ar y ddaear wlyb, ac un arall drosom; ac aml waith y nos y dihunwn braidd yn nofio mewn dwfr, eithr y gwylwyr a gadwant y tân yn fyw yn eu tro, ac felly cadwant y bleiddiaid duon mawr, y panthers, y *wild cats*, &c., ymaith, pa rai a sychedent am ein gwaed; etto, nid llawer gwaeth nâ'r trigolion ar brydiau. Un tro cawsom liaws o honynt at eu gilydd, a gwnaethom ammodau hêdd â hwynt, yr hwn a barhaodd o leiaf cyhyd â'r anrhegion a

gawsant genym. Ar ol hyny gwahoddent ni i'w gwlad, eu bod hwy wedi clywed llawer o sôn gan Indiaid ereill am y "Mormons," mai pobl dda ydynt, ag sydd am eu dysgu hwy yn ffyrdd a chelfyddydau eu tadau. Ni welsom fenyw na phlentyn yn eu plith hwy oll; a dywedent fod y frech goch wedi eu hysgubo hwy oll ymaith. Ai gwir hyn, ynte gau? gwaeth a ddywedir am danynt, yr hyn ni wyddis; eithr nid wyf yn meddwl yr ystyrient nemawr ddim yn rhy warthus i'w gyflawni. Yn mhen ychydig ddyddiau, cyrhaeddasom y ffordd ag sydd yn arwain i California, ar hyd yr hon dychwelasom yn ol dros Rim y Basin, ar hyd y dyffryn a nodais o'r blaen, am tua 60 mynyd, lle y cyfarfuom amryw ymfudwyr yn myned tua gwlad yr aur. Gwelem lawnder o fwn haiarn ar hyd ochrau y ffordd, ac o'r diwedd gwersyllasom wrth odrau y mynydd haiarn rhag-grybwylledig. Dranoeth, aeth P. P. Pratt a minnau yn gyflymach na'r lleill, a chyrhaeddasom ein wageni yn y Llyn Halen Fach erbyn canol y nos, wedi blino, a chael ysgyrmish go galed gyda danneddog dylwyth y coedwigoedd hyn. Pawb yn iach, ac yn llawen iawn ein gweled; derbyniwyd ni gyda thwrf magnelau, drylliau, *hurrahs* a *hosannas*, &c. Ni bu nemawr gysgu hyd y boreu, ond cyfnewid hanesion a newyddion, a gwledda.

(*I'w barhau.*)

---

## CYMMANFA GYFFREDINOL NEILLDUOL.

(O'r "Millennial Star.")

Cynnaliwyd Cymmanfa Gyffredinol Neillduol, yn Nghapel y Saint, Whitechapel, Llundain, ar y 3ydd o Fehefin, 1851, pan yr oedd yn bresennol bedwar o'r Deuddeg, cynghorwyr Llywyddiaeth yr Ynysoedd Prydeinig, Llywydd a chynghorwyr Tywysogaeth Cymru, a thri ar hugain o Lywyddion Cynnadleddau. Cymmerwyd dan ystyriaeth y priodoldeb o gymmeryd Cynnadledd y Channel Islands ymaith o Lywyddiaeth yr Ynysoedd Prydeinig, a'i huno â'r Genadiaeth yn Ffrainc.

Trwy annogaeth y Llywydd F. D. Richards i amlygu ei feddwl ar y peth, dymunodd yr Henuriad John Taylor ar iddo fod felly, ac hysbysodd ei feddwl ynghylch priodoldeb a doethineb y cyfryw beth, yn gymmaint ag y gwasanaethai i gryfhau dwylaw y brodyr Ffrengig, a byddai yn lle cyfleus i gael ac i ddanfon allan Henuriaid ag a fyddant i raddau yn adnabyddus o iaith ac ymarferiadau y genedl Ffrengig. Llefarodd hefyd ynghylch Llyfr Mormon, yr hwn a ymddangosa yn fuan yn y iaith

Ffrengig, gan sylwi y buasai llawer o Henuriaid yn ddiammau yn cael eu danfon o'r ynys hon i'r cyfandir i lafurio, ac y byddai yn dda iddynt yn gyffredinol i fynu y cyfieithad Ffrengig, a'i ddarllen yn ddiwyd, mewn cyssylltiad â chopi Seisnig, ac felly cyrhaedd adnabyddiaeth o'r Ffrengaeg. Pe teimlai yr Henuriaid i wneuthur hyn, byddai yn gynnorthwy i dalu yn ol y swm a fenthyciwyd er cyhoeddi y gwaith. Hysbysodd yr Henuriad Taylor ei gynllun er cyhoeddi cyhoeddiad misol yn Paris, y rhifyn cyntaf o ba un oedd ar werth.

Ar ol rhai sylwadau yn mhellach gan yr Henuriad Taylor ac ereill, cynnygiwyd, eiliwyd, a chariwyd yn unfrydol, fod Cynnadledd y Channel Islands i'w thynu o'r Llywyddiaeth dros yr Ynysoedd Prydeinig, a'i huno â Llywyddiaeth yr Eglwys yn Ffrainc.

Wedi dangos sefyllfa a'r olygfa ar y gwaith yn Dublin, gan yr Henuriad Edward Sutherland, cynnygiwyd, eiliwyd, a chariwyd yn unfrydol, fod yr Henuriaid Sutherland a Hayes i barhau yn ngwaith yr Efengyl yn Dublin, a galw y cyfryw ddynion ffyddlawn a allant gael yno i'w cynnorthwyo yn yr unrhyw.

Treuliwyd yr holl ddydd yn y modd mwyaf pleserus ac adeiladol, trwy roddi addysgiadau ar wahanol byncian dyddorawl, gan wahanol aelodau o'r Deuddeg, ac ereill ag oedd yn bresennol.

Terfynwyd gwaith dydd a gofir am dano yn hir, yn yr hwyr, trwy ganu "When shall we all meet again," a thrwy weddi gan yr Henuriad John Taylor.

F. D. RICHARDS, *Llywydd.*
J. F. BELL, *Ysgrifenydd dros dro.*

---

## AT YR EGLWYSI.

14, Castle St., Merthyr Tydfil, Gorph. 15, 1851.

MR. GOLYGYDD,—Y mae genyf ychydig o gynghorion i'w rhoddi i'r llywyddion yn gyffredinol; os cewch chwi le iddynt tu fewn i "UDGORN SEION," gwnaf floeddio rhyw bethau a fydd yn lles i'r cynnadleddau, canghenau, a'r Saint oll.

Darfu i ni yma gynnal Cymmanfa ar y 6fed o'r mis hwn, a danfon deunaw o genadon i fyned i'w taith heb na ffon nac ysgrepan; ac yr wyf yn meddwl fod y diweddaf o honynt wedi myned i ffwrdd heddyw; a bydded i'r Duw grasol eu bendithio hwy. Y maent wedi cael eu danfon allan i brofi y byd, ac i sefydlu cangenau newyddion yn eu plith, heb un cynnorthwy gan un gangen, ond i gael eu bwyd, eu dillad, a'u lletty gan y byd, oddieithr fod amgylchiadau yn caniatâu. Ac yn awr, Lywyddion Cynnadleddau a Changenau, er mwyn profi y byd yn gyfreithlawn, rhwystrwch y rhai hyn i ymweled â'ch cangenau, nac i gael un cynnorthwy mewn un dull, oddieithr llyfrau; os bydd y cang-

enau mor garedig â'u cynnorthwyo hwy ag ychydig lyfrau, bydd hyny yn dda. Yr achos na fuasai mwy o gangenau wedi eu sefydlu trwy y wlad yw, am nad oedd y brodyr ddim yn myned allan yn gyfreithlawn; yr oeddynt yn myned ag arian gyda hwy, neu yr oeddynt yn pwyso ar y cangenau o'u hamgylch. Mae hawl gan y cenadon hyn i dderbyn arian gan y byd, ac y maent yn sicr o'u cael trwy ffydd; canys Duw sydd yn eirwir, y mae yn addaw rhoddi bwyd, dillad, a lletty, ac arian hefyd, pan y bydd eu hanghen, ynghyd â phob peth a fydd yn anghenrheidiol i'r rhai hyny sydd yn cadw yn ffyddlon ei orchymynion Ef. Ac y mae Ysbryd Duw yn y fynyd hon, trwof fi, yn addaw y pethau uchod. Y mae llawer o demtasiynau i ddyfod i gyfarfod â'r brodyr hyn; ond er cymmaint a ddaw, y mae Duw o'u plaid hwy, ac efe a'u llwydda hwy. Ac yn awr, frodyr, bydded i chwithau yn eich Cynnadleddau fod â chymmaint â hyn o awydd ynoch i achub y miloedd eneidiau sydd yn y wlad, a chwilio allan am ddynion da sydd â'u hamgylchiadau yn caniatâu iddynt i fyned allan, a bydded i chwi eu danfon hwy allan i'r trefydd, pentrefydd, a'r wlad oddiamgylch, i sefydlu Cangenau. Nac ofnwch offeiriadon, pregethwyr, nac un dosbarth o ddynion; ewch i'r cynnulleidfaoedd, ac i'r synagogau, a phregethwch iddynt yr Efengyl hon, er tystiolaeth am y deyrnas, a hyny trwy allu yr Ysbryd Glân, fel y galloch fod yn rhydd oddiwrthynt yn y farn sydd i ddyfod; canys fe gaiff pawb eu barnu yn ol yr efengyl hon. Ac yn awr, frodyr, ewch yn mlaen a chasglwch ferch Seion, fel y gellir ei chludo hi tua thref, dros y moroedd, i Fynydd-oedd Ephraim, i adeiladu dinasoedd a themlau gwych, a phlanu ei gwinllanoedd, gwisgo ei gwisg phriodasol; canys y mae ei Phriod-fab yn dyfod, ac yn marchogaeth ar gymylau y nef, a myrdd o'i Saint gydag ef: felly y byddo. Amen.

Y mae genyf un cynghor arall i'w roddi i chwi mewn perthynas i'r rhai a elwir yn Saint, neu yn swyddogion, ag sydd yn rhy ddiog i weithio, ac yn myned oddi amgylch o gangen i gangen, i ganu i'r menywod, a thwyllo eu bwyd felly o dŷ i dŷ am fisoedd, ac yn dylanwadu ar rai llywyddion i wneuthur casgliadau iddynt trwy ddweyd dipyn o hanes iddynt pa fodd y mae pethau yn myned yn mlaen yn y Gogledd, sir Aberteifi, sir Gaerfyrddin, ynghyd â sir-oedd ereill; a pha fodd yr oeddynt hwy yn dadleu â phobl, ac yn gorchfygu; ac yna dipyn o ding dong ar y delyn wed'yn; ac yna dacw rhyw chwaer ddiniwed yn dyfod i mewn, ac yn rhoi gwahoddiad, "Dewch gyda fi i gael ciniaw;" "attaf finnau i dê," meddai y llall," "ac atom minnau i gyfarfod y Saint," meddai rhyw lywydd; ac efe fydd yn eistedd yn nghadair y llywydd, ac yn cael ei wneyd yn hysbys—fod yno frawd dyeithr, ac yna dacw y Saint bach yn barod i'w wrando. O! fel yr wyf yn teimlo dros fy mrodyr a'm chwiorydd, na fyddent yn gwylio yn fwy, a pheidio rhoddi derbyniad i neb ond i'r rhai sydd mewn awdurdod, neu rai fyddo yn cael caniatâd ar ryw amgylchiadau. Unwaith etto, yr ydwyf fi yn eich rhybyddio chwi, lywyddion

cynnadleddau, cangenau, a dosparthiadau, i ochelyd rhag y fath ddynion dichellgar, ac na wneloch ganiatâu i ddynion fyw yn segur ar gefnau y Saint. Dysgwch y Saint i roddi iddynt bryd o fwyd, noswaith o letty, a'u danfon i ffwrdd boreu dranoeth; gwnewch felly, os bydd yn eu meddiant drwyddedi; ac os na wnant hwy adael eu drygioni ar ol, byddwn y neu tori hwy allan o'r Eglwys, a gosod eu henwau yn yr UDGORN.

Ydwyf, eich gostyngedig was,

WM. PHILLIPS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

HARDDWCH sydd flodeuyn a wywa yn fuan; iechyd a waethyga, a chryfder a gilia ymaith; ond diniweidrwydd sydd anfarwol, ac y mae yn ddedwyddwch mewn bywyd ac yn angeu. Dichon i'r ieuanc farw yn fuan iawn, ond y mae yn anmhosibl i'r hen fyw yn hir. Ffrwythau anaddfed a ellir eu tynu ymaith, neu eu hysgwyd i lawr; oud y ffrwythau addfed a syrthiant o honynt eu hunain.

Os na fynwch gael eich tybied yn ffyliaid gan bobl ereill, na fyddwch ddoeth yn eich golwg eich hun; yr hwn a ymddiriedo yn ei ddoethineb ei hun, sydd yn cyhoeddi ei ffolineb; mae gan y gwir ddoeth ddigon o wybodaeth i weled ei ffolineb ei hun.

NWYDWYLLTEDD sydd fath o dwymyn yn y meddwl; gadawa ni yn wastad yn llawer mwy gwân nag y cafodd ni.

---

TALIADAU O ORPH. 11 HYD ORPH. 22.—Sir Fynwy, £10 10s; Sir Fflint, £2; Sir Gaernarfon, £1 6s; Sir Feirionydd, £2; Pontytypridd, £1; Caerdyf, 11s 4c; Georgetown, £3 5s; Merthyr, £2 6s; Cefn, 14s 3½c. Cyfanswm, £23 12s 7½c.

"W. T., A——r."—Os ydych yn gweled rhyw bethau yn groes i'w gilydd yn Llyfr Mormon a'r Athrawiaeth a'r Cyfammodau, gwell i chwi eu nodi i ni, ac yna dichon y sylwn arnynt yn yr UDGORN, fel y gallo ereill hefyd gael eu goleuo yn gystal â chwithau.

"W. W."—Nis gallwn ddweyd etto pa bryd yr ymfudir nesaf; rhoddwn wybod mor fuan ag y clywom.

LLYFR MORMON.—Dymunwn ar yr holl Lywyddion a'r Dosparthwyr i gasglu enwau at Lyfr Mormon yn ddioed. Daw allan yn yr un dull â'r "ATHRAWIAETH A'R CYFAMMODAU," hyd nes ei gorphenir, am geiniog a dimai y rhifyn. Dichon y cynnwysa o 30 i 32 o rifynau.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr*.

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 16.] AWST 9, 1851. [PRIS 1*g*.

## COFNODAU CYMMANFA GYFFREDINOL EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

*A gynnaliwyd yn Ninas y Llyn Halen Fawr, yn Deseret, Ebrill* 6, 1851, *am ddeg y boreu, y Llywydd Brigham Young yn llywyddu.*

[Allan o'r "Deseret News."]

YN bresennol o'r Brif Lywyddiaeth—Brigham Young, Heber C. Kimball, a Willard Richards. Patriarchiaid—John Smith ac Isaac Morley. O'r Deuddeg Apostol—Wilford Woodruff ac Ezra T. Benson. Llywyddiaeth y Degau a thrugain—Joseph Young, Levi W. Hancock, Zera Pulsipher, Henry Herriman, Albert P. Rockwood, Benjamin L. Clapp, a Jedediah M. Grant. Llywyddiaeth yr Estynfa—Daniel Spencer, David Fullmer, a Willard Snow. Corwm yr Archoffeiriaid—John Young a Reynolds Cahoon. Uchel Gynghor yr Estynfa. Ysgrifenwyr y Gynnadledd—Thomas Bullock a William Clayton.

Agorwyd y Gymmanfa, a chafodd ei gohirio o herwydd gwlawogydd trymion, a thô y Cysgotty (Bowery) yn gollwng dwfr.

*Dydd Llun, Ebrill* 7, *deg yn y boreu.*—Ar ol galw y gymmanfa i drefn, cafodd ei hagor trwy ganu, gweddio gan John Young, a chanu.

Gan fod y Llywydd Young wedi ei luddais gan afiechyd, hysbysodd y Llywydd Kimball achosion y gymmanfa, a sylwodd yn dra phwrpasol ar ddyledswydd llywyddion y gwahanol gorwmau i roddi cofres o'u gwahanol gorwmau, yn mhob cymmanfa, er lles hanesydd ac awdurdodau yr Eglwys; a chyflwynodd Brigham Young, fel Llywydd Eglwys Iesu Grist o Saint y

Dyddiau Diweddaf, trwy yr holl fyd, ac hefyd fel prophwyd, gweledydd, a dadguddiwr; yr hyn a gariwyd yn unfrydol.

Yna Heber C. Kimball a gyflwynwyd fel y cynghorwr cyntaf i'r Llywydd Young, a Willard Richards fel ei ail gynghorwr; y rhai a gynnaliwyd yn y swyddau hyny.

John Smith a gynnaliwyd fel Patriarch llywyddol i Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.

Willard Richards a gynnaliwyd fel Hanesydd yr Eglwys, a Chofiadur Eglwysig cyffredinol.

Orson Hyde a gynnaliwyd fel llywydd; a Parley P. Pratt, Orson Pratt, Wilford Woodruff, John Taylor, George A. Smith, Amasa Lyman, Ezra T. Benson, Charles C. Rich, Lorenzo Snow, Erastus Snow, a Franklin D. Richards, a gynnaliwyd fel aelodau o gorwm y Deuddeg Apostol.

Daniel Spencer a gynnaliwyd fel llywydd yr estynfa hon yn Nyffryn y Llyn Halen Fawr, a David Fullmer a Willard Snow fel ei gynghorwyr.

H. G. Sherwood a gynnaliwyd fel llywydd; ac Eleazer Miller, John Kempton, Heman Hyde, Lewis Abbott, Wm. W. Major, Levi Jackman, Elisha H. Groves, Ira Eldredge, John Vance, Edwin D. Woolley, a John Parry, fel aelodau o'r Uchel Gynghor.

John Young a gynnaliwyd fel llywydd corwm yr archoffeiriaid, a Reynolds Cahoon a George B. Wallace fel ei gynghorwyr.

Joseph Young a gynnaliwyd fel prif lywydd; a Levi W. Hancock, Henry Herriman, Zera Pulsipher, Albert P. Rockwood, Benjamin L. Clapp, a Jedediah M. Grant, fel llywyddion corwmau y Degau a thrigain.

Y Llywydd Kimball a benododd Edward Hunter, i lanw y lle a waghawyd trwy farwolaeth Newel K. Whitney, fel esgob llywyddol yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf; cariwyd yn unfrydol.

John Nebeker a gynnaliwyd fel llywydd corwm yr henuriaid, a James H. Smith, ac Aaron Sceva fel ei gynghorwyr.

Joseph Harker a gynnaliwyd fel llywydd corwm yr offeiriaid. (Y mae ei gynghorwyr ef wedi gadael yr estynfa hon, ac nid yw yntau yn barod i enwi cynghorwyr newyddion.)

McGee Harris a gynnaliwyd fel llywydd corwm y dysgawdwyr, a John Vance a Reuben Perkins fel ei gynghorwyr.

Gan fod llywyddiaeth corwm y diaconiaid wedi cael eu symud i gorwmau ereill, ni weithredwyd dim mewn perthynas i'w swyddogion.

Gan fod rhai o'r esgobion wedi symud i'r sefydliadau deheuol, cynnygiwyd Nathaniel V. Jones i fod yn esgob y bymthegfed adran; cariwyd.

Abraham Hoagland, esgob y bedwerydd adran ar ddeg; Reuben Miller, adran Mill Creek; Abraham O. Smoot, adran Big Cottonwood; Ezekiel Lee, sefydliad Holladay; Peter McCue, adran gyntaf; a Joseph C. Kingsbury, adran ail.

Y Llwydd Kimball a enwodd Brigham Young i fod yn ymddiriedolwr i Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf; cariwyd yn unfrydol. Ethelwyd yr Esgob Edward Hunter yn ymddiriedolwr cynnorthwyol.

Y cynnyg i adeiladu Teml i enw Arglwydd ein Duw yn Ninas y Llyn Halen, a gariwyd gyda bonllef.

Apwyntiwyd pwyllgor o un, sef Daniel H. Wells, i arolygu adeilaeth y Deml, a'r gweithiau cyhoeddus.

Gweddiwyd gan J. M. Grant. Gohirwyd am awr.

*Dau yn y prydnawn.*—Agorwyd y gymmanfa yn ol y gohiriad, ar ochr ddeheuol y Cysgotty. Canwyd; gweddiwyd gan E. T. Benson. Canwyd; y Llywydd Kimball yn llywyddu.

Brigham Young a gynnaliwyd fel llywydd y cwmpeini ymfudol parhaus at ymgasglu y tlodion, a H. C. Kimball, W. Richards, W. Woodruff, O. Hyde, G. A. Smith, E. T. Benson, J. M. Grant, D. H. Wells, W. Snow, E. Hunter, D. Spencer, T. Bullock, J. Brown, W. Crosby, A. Lyman, C. C. Rich, L. Young, P. P. Pratt, O. Pratt, ac F. D. Richards, a gynnaliwyd fel ei gynnorthwywyr.

J. M. Grant a alwodd am wirfoddolion i fyned i swydd Haiarn, ac a ddymunodd ar y personau hyny a benodwyd yr hydref diweddaf, i fyned a llanw y penodiad hwnw.

Anson Call a wnaeth adolygiad byr ar yr hyn a wnaed er sefydlu y wlad hono.

Yna y Llywydd Kimball a alwodd amryw wrth eu henwau, pan y cytunodd dau ar bymtheg ar hugain i fyned.

Dywed E. T. Benson—Darfu i chwi oll y boreu hwn bleidleisio dros adeiladu Teml; penodasoch bwyllgor i arolygu y gweithiau cyhoeddus; yr ydych yn gwybod nas gallant fyned yn y blaen heb eich cynnorthwy chwi; yr ydych yn gwybod mai Saint y

Dyddiau Diweddaf ydym ni, ac mai nyni yw yr asgwrn a'r gewin i wthio y gwaith yn y blaen; gofynir gan lywyddion a chorwmau yn yr Eglwys hon i dalu eu degwm, ac yr ydych yn gwybod nad yw hyn wedi ei wneuthur; yr wyf fi yn ei ystyried yn orchymynedig i'r bobl hyn; y mae rhai dynion a benywod wedi gwneyd, a gwnant etto yr oll a allant. Ni ddaw yr eglwys hon i'w hoedran hyd nes y talom ni ein degwm, a byw i fyny i'r gorchymynion a roddwyd i ni; yna y byddwn yn rhydd yn wir, canys efengyl rhyddid yw yr efengyl. Mae llawer o bersonau yn gofyn, Pa bryd y cawn ni ychwaneg o ddadguddiadau? Dywedaf wrthych na chawn ragor o ddadguddiadau hyd nes y byddom ni fel pobl yn parchu y dadguddiadau hyny sydd wedi eu rhoddi eisoes; pan wnelom hyny, fe gawn ychwaneg.

Sylwodd H. C. Kimball—Byddai yn dda genym pe gallem barhau y gymmanfa hon dri neu bedwar diwrnod; ond nis gallwn. Galwodd ef ar bawb i ofalu am eu dyledswydd, yna gallu Duw a fydd gyda ni; ni fydd ofn ar y rhai hyny sydd yn gwneuthur yn iawn, &c.

Yn ol cynnygiad a wnaed, gohiriwyd hyd y Sul cyntaf (y 7fed) yn Medi, 1851.

Terfynwyd trwy weddi gan Willard Richards.

THOMAS BULLOCK, *Ysgrifenydd.*

---

## ATTODION I BUMMED EPISTOL CYFFREDINOL

*Llywyddiaeth Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, o Ddinas y Llyn Halen Fawr, Talaeth Deseret, at y Saint gwasgaredig trwy y byd, yn anerch :—*

[Allan o'r "Deseret News."]

ANWYL FRODYR,—Gan fod rhai pethau wedi dianc ein sylw yn ein gohebiaeth am y 7fed o'r mis hwn, yr ydym etto yn cymmeryd ein hysgrifell mewn llaw mewn perthynas i'r siwgr, triagl, a'r mel a fydd yn anghenrheidiol ar ddinasyddion Deseret. Mae rhai prawfiadau wneyd eu gwneyd o fetys yn ngweuthuriad triagl a finegr, y rhan fwyaf mewn teuluoedd dirgel, canlyniadau neillduol pa rai nid ydym ni wedi clywed manylrwydd yn eu cylch; ond yr ydym wedi dyfod i wybod mewn sicrwydd, gydag ychydig o waith, y gall unrhyw deulu sydd yn meddu betys wneuthur eu hunain yn gysurus gyda golwg ar driagl, er nad yw

symudiad ymaith y gas a sylwedd anmherthynol ddim wedi ei ddeall mor ddigonol ag i gael triagl mor berffaith ag a ddymunid. Y mae finegr wedi ei wneyd o'r un peth, o ansawdd da. Dyged y brodyr yr holl siwgr-fetys gwynion a allant gael, erbyn blynyddau i ddod.

Mae y Meistriaid Beach (o St. Louis) a Blair (o Texas) wedi agor sefydliad gweithfaol cyffredinol y gwanwyn hwn, yn hytrach yn rhy ddiweddar i siwgr, eithr y maent yn myned yn mlaen mewn gwneuthur triagl a finegr. Dysgwylir y bydd i'r sefydliad hwn barhau yn ei weithrediadau, ac yn barod at waith mwy erbyn dynesiad cynauaf arall; ond ni fydd yn bosibl i un weithfa i ddiwallu yr holl bethau melys a fydd yn anghenrheidiol; a phe gallai rhyw fferyllydd ymarferol a gwneuthurwr siwgr o'r betys, un a fyddo yn ddeall ei orchwyl drwyddo, neu gwmni o ddynion, y rhai ydynt yn gyfarwydd yn ngwahanol gangenau y gelfyddyd, ymfudo i'r lle ac agor eu gweithfeydd siwgr, buasai yn dda gan ein ffermwyr a'n teuluoedd roddi heibio eu gweithrediadau teuluaidd, er cael eu diwallu, mewn dull mwy effeithiol, o'r gweithfeydd; a gofynai yn awr lawer o sefydliadau mawrion i ddiwallu y bobl. Dymunwn ar y llywyddiaeth yn Lleogr, Ffrainc, a llefydd ereill, i chwilio allan am wneuthurwyr siwgr ag ydynt yn llwyr ddeall eu gwaith, a'u danfon i'r lle hwn, gyda phob offerynau anghenrheidiol ag na ellir eu cael yma.

Mae yr amrywiol heidiau gwenyn, a ddygwyd yma o'r Taleithiau, yn gwneyd yn dda yn y Dyffryn, a byddai yn ddymunol i'r brodyr ddwyn a allant o wenyn ganddynt; canys credir y llwyddant yma; ac mor bell ag y gellir cynnyrchu mêl, y lleiheir yr anghenrheidrwydd o wneuthur siwgr; a phe buasai digonedd o siwgr, y mae anghen am fêl yn feddyginiaeth, yn gystal ag yn foethfwyd.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
WILLARD RICHARDS.

Dinas y Llyn Halen Fawr, Deseret, Ebrill 16, 1851.

---

## SYLWADAU YNGHYLCH YMFUDO, &c.

YN mhlith yr amrywiol bynciau dyddorawl a gymmerir dan sylw yn Mhummed Epistol Cyffredinol y Brif Lywyddiaeth,

bydd ymfudaeth, yn ol pob tebygolrwydd, yn tynu mwy o fryd y Saint Prydeinig nag un pwnc arall.

Ni fydd i ni ddanfon llongaid o Saint i New Orleans ar y laf o Fedi fel arferol. Er hyny, y mae rhai Henuriaid Americanaidd ag sydd â'u teuluoedd yn aros yn y taleithiau gorllewinol, y rhai a fyddant yn myned trwy New Orleans, rywbryd yn ystod y gauaf; y mae rhyw ychydig hefyd, sydd â'u gwyr a'u tadau wedi myned o'u blaen i ennill modd i ddwyn eu teuluoedd atynt i New Orleans, St. Louis, neu Kanesville a'i chymmydogaeth, ag a fyddai yn ddoethineb iddynt i fyned y ffordd hyny. Gwneir amgylchiadau felly yn hysbys i ni gan lywyddion y cynnadleddau, ac yna gwneir parotoiadau er iddynt gael myned allan yn yr un llong. Bydded i'r Saint hyny ymholi â llywydd eu cynnadledd; ac os bydd rhyw anhawsdra neu ammheuaeth yn cyfodi, gwna y llywydd ysgrifenu atom ni.

Bydd yn dda gan y Saint i gael arddeall fod cwmpeini wedi ei reoleiddio er gwneuthur a phuro siwgr o'r betys, yr hwn a gymmera allan weithwyr, hadau, a'r holl beirianwaith, offerynau, &c., anghenrheidiol er sefydlu y gwaith yn y dyffrynoedd. Hefyd gwmpeini er gwneuthur pob math o waith gwlan, ag sydd mewn gwasanaeth cyffredin gan ddynion a benywod: mai y cwmpeini hwn yn cymmeryd gydag ef beiriannau o'r gwaith goreu a mwyaf diwygiedig, ynghyd â'r blaenoriaid a'r gweithyddion anghenrheidiol tuag at wahanol ddosparthiadau y gwaith. Mae ei nifer o weithwyr wedi ei wneyd i fyny yn barod. Mae y ddau gwmpeini wedi eu rheoleiddio â swm ddechreuol dda, yn nwylaw dynion llwyr wybodus o fasgnach; y rhai, yn ddiammau, trwy eu medrusrwydd, a sefydlant eu hunain mewn busnes, yr hon yn y wlad newydd hono, a ddaw yn fuan i fod y benaf ar y cyfandir hwnw, ac a brawf nid yn unig yn elw mawr i'r perchenogion a'u hetifeddion, ond i'r gwladoldeb anturiaethgar a chynnyddol, yn mhlith pa rai y maent wedi penderfynu bwrw eu coelbren.

Y mae yn debyg y bydd y cwmnïoedd hyn yn myned allan dan gyfarwyddyd un o'r Deuddeg, yr hwn sydd wedi gwneyd ei hun yn adnabyddus o'r holl ffordd, trwy ei mynych deithio; a thrwy brofiad yr hwn, mae yn diammau, yr arbeda y cwmnïoedd gannoedd o bunnau o gost, yr hyn a ddygwyddai fel arall ar hyd y ffordd hirffaith, ac, mewn manau, trafferthus hon. Tebygol y

cychwynant ar eu taith ar hyd y ffordd bresennol yn ystod y tymmor ymfudol sydd yn dynesu.

Yr ydym yn gwybod, frodyr, am yr hiraeth sydd yn eich meddyliau, i fyned i'r man lle y gallwch wneuthur rhywbeth i lesoli eich hunain, ynghyd ag achos Duw; eithr fe ddywedwn ni wrthych, na fyddwch yn rhy awyddus; gadewch i'r ffordd gael ei darparu i chwi, fel pan y cychwynoch, y byddoch yn cael eich tirio yn mhlith eich brodyr, dan ofal y fath ddynion ffyddlawn o'r Deuddeg, ag yw yr Henuriaid Amasa Lyman a Charles C. Rich, y rhai a ddysgant i chwi fwriadau Duw, ac a'ch hyfforddant ar hyd ffordd y bywyd tragywyddol. Mae yn well o lawer i chwi aros yma, o dan eich henuriaid a'ch gweinidogion anwyl, lle y gellwch fwynhau doniau a bendithion yr Efengyl; na myned a rhoddi eich nerth i estroniaid, y rhai ni feddant deimlad gyda chwi er adeiladu Teyrnas Dduw, ac efallai, syrthio trwy haint, neu wrthgiliad. Na feddylied neb am fyned i'r taleithiau dwyreiniol, canys llais yr Ysbryd yw, am i'r holl Saint ffoi allan o'r parthau hyny a'r ddwy Ganada, gyda phob brys galluadwy. Bydd i'r rhai ffyddlawn yn St. Louis, a'r lleoedd ereill ar yr afonydd gorllewinol, frysio i'r mynyddoedd mor fuan byth ag y caniatao eu hamgylchiadau; ac yr ydym yn gobeithio, yn ystod y tymmor ymfudol dyfodol i weled y Saint yn gadael Liverpool wrth y llongeidiau i fyned i San Diego. Yr ydym wedi bod yn gohebiaethu â'r Brif Lywyddiaeth, ac hefyd â swyddogion a goruchwylwyr Cwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus, oddiar Chwefror diweddaf ar y pwnc hwn; ac nid arbedwn unrhyw drafferth i hysbysu yr Eglwysi, ar dderbyniad unrhyw newydd a fydd o bwys iddynt, ynghylch y mater dyddorawl hwn. Mae y rhagdaloedd sydd yn ein dwylaw yn ddarostyngedig i gyfarwyddyd y rhai a'u talodd, neu i'w defnyddio fel rhagdaloedd iddynt am yr amser dyfodol. Nid ydym yn barod i ddweyd, pa un ai heibio i Cape Horn, neu dros wddfdir Panama, y caiff yr ymfudiad ei agor i San Diego; ac nid ydym ychwaith yn barod i enwi pris y cludiad, hyd nes y byddo telerau penderfynol wedi eu gwneyd.

Yn y cyfamser, bydded pob aelod yn gystal â swyddog yn yr Eglwys, yn ddiwyd i gynnorthwyo i raddau helaeth, ledaeniad gwybodaeth o'r Efengyl. Yn awr yw yr amser i'r llywyddion a'r henuriaid teithiol i helaethu eu trefniadau, er pregethu, a thaenu y gair argraffedig, tra y mae yn dymmor twymn, a gellir

pregethu allan yn dra effeithiol. Yn awr yw yr amser, tra y mae golygyddion a chyhoeddwyr yn taenu y sôn am enwogrwydd cynnyddol Teyrnas alluog Duw, yr hon sydd i gynnyddu nes llenwi yr holl ddaear. Bydded i eofndra santaidd, ynghyd â llarieidd-dra a symlrwydd mawr, nodweddu eich holl dystiolaethau; gochelwch yn wastadol bob ysbryd amrafael, fel na thristaer Ysbryd yr Arglwydd o'ch mynwesau. Na fyddwch yn hunangyfiawn, megys ag y dywedai rhai gynt, "Na ddos yn agos i mi, canys yr wyf fi yn santeiddiach na thydi;" ond yn hytrach gwnawn ein hunain o ddim cyfrif, gan wneyd daioni i bawb yn ol ein cyfleusdra, fel y gallom achub rhai o gyfeiliornî eu ffyrdd.

F. D. RICHARDS.

---

## CYMMANFA NEILLDUOL Y DEGAU A THRIGAIN.

[Allan o'r "Deseret News."]

DYDD Sadwrn, Ionawr 18, 1851, oddeutu hanner awr wedi deg, yr oedd cynnulleidfa fawr o'r Degau a thrigain wedi ymgyfarfod yn y Cysgotty, pan y rhoddodd y Llywydd Joseph Young anerchiad rhagarweiniol, gan ddangos mai dyben yr ymgynnulliad oedd edrych i mewn i sefylla y Degau a thrigain; edrych pa faint o fylchau oedd yn y corwmau, a'u llanw mor bell ag yr ystyrid yn ddoeth; gofalu am ordeiniadau,—a dyfeisio ffyrdd a moddion at fyned yn mlaen ag adeiladu Neuadd Gelfyddydol y Degau a thrigain. Yr oedd yn bresennol o brif lywyddion y Degau a thrigain, Joseph Young, Zera Pulzipher, A. P. Rockwood, B. L. Clapp; hefyd o'r Deuddeg, W. Woodruff, E. T. Benson, a W. Richards. Ar ol gweddio gan E. T. Benson, a chanu, galwyd ar gant a phedwar o henuriaid, offeiriaid, ac aelodau, ac ordeiniwyd hwynt i gorwmau y Degau a thrigain, dan gyfarwyddyd y Llywyddion Rockwood a Clapp. Aethwyd trwy yr ordeiniadau yn y Tŷ Taleithiol.

Ar ol oediad o hanner awr, ac i'r gynnulleidfa gael cyfranogi o ymborth, ac i'r Llywydd B. Young ddyfod i mewn, anerchwyd y dorf gan y Llywydd Zera Pulzipher, W. Woodruff, J. M. Grant, a Joseph Young, ar y pwysigrwydd o fod i'r Degau a thrigain ofalu am eu gwahanol ddyledswyddau, ynghylch bod diwygiad yn mhlith y Saint, a'u bod yn byw fel ag i gael cyflawn

der o'r Ysbryd Glân bob amser. Darllenwyd y gofres o enwau llywyddion gwahanol gorwmau y Degau a thrigain, pan y cafwyd fod pedwar ugain yn y Dyffryn. Rhoddwyd offrymau at Neuadd Gelfyddydol y Degau a thrigain, a gohiriwyd y gymmanfa hyd amser cynneu canwyllau, pan y cafodd y Cysgotty ei orlenwi.

Canwyd "Y boreu ddaeth" gan y côr, a gweddiwyd gan y Llywydd Clapp, pan yr anerchwyd y gymmanfa ar amrywiol a bynciau gan yr Henuriaid A. P. Rockwood, Milo Andrus, Jesse Haven, Alexander Badlam, Joseph Young, Sylvester H. Earl, Charles Hubbard, D. D. Hunt, Reuben McBride, J. M. Grant, B. L. Clapp, a'r Llywydd B. Young, mewn dull ysbrydol a galluog iawn.

Dydd Sul, Ion. 19, 1851.—Agorwyd y gymmanfa am ddeg yn y boreu, trwy weddi gan yr Henuriad J. M. Grant, a chanu gan y côr.

Daeth pedwar ar hugain o'r henuriaid yn mlaen i dderbyn eu hordeiniad i gorwm y Degau a thrigain, y rhai wedi eu cymmeradwyo, a aethant i'r Tŷ Taleithiol, ac a addysgwyd gan yr Henuriaid Herriman, Pulzipher, a Bullock, ynghylch y cyfrifoldeb ag oedd yn gorphwys arnynt, a gofyniadau yr offeiriadaeth santaidd, ac ordeiniwyd hwynt i'r corwm gan yr Henuriaid Pulzipher ac Herriman.

Ar yr un pryd yr oedd y Saint yn y Cysgotty yn derbyn addysg a doethineb oddiwrth y Llywydd B. Young, Heber C. Kimball, a P. P. Pratt, ar yr argoelion o ddechreu teml yn y dyffryn hwn, er cynnysgaethu yr holl rai a fyddant yn ffyddlawn yn y wenidogaeth, gan ddadganu ar yr un amser na chawsai y rhai nad ydynt yn talu i fyny eu degwm y fraint o dderbyn eu bendithion ynddo.

Yr oedd y Saint yn llawn o lawenydd o herwydd yr hyn ag oedd wedi ei osod o'u blaen; ac y mae gwaith diwygiad yn mhlith llawer ag oeddynt wedi bod yn glaiar hyd yn hyn, wedi dechreu dangos ei hun eisoes.

Ar ol oediad o un awr, anerchwyd y gynnulleidfa gan yr Henuriaid Joseph Young, Lorenzo Young, E. T. Benson, A. Lyman, W. Woodruff, ac A. P. Rockwood, ynghylch effeithioldeb gweddi, Neuadd Gelfyddydol y Degau a thrugain, &c., pan y cyflwynodd T. O. Angel, prif adeiladydd y gweithiau cyhoeddus, gynllun o'r crwndy apwyntiedig; ar ol hyny cymmerwyd i fyny achos y

dynion hyny ag oedd yn ein plith, ac wedi myned, fel y sylwodd y Llywydd, yn "saint gauaf," a phenderfynwyd fod George Love, Washington Loomis, Phillip George, Henry Schuck, O. H. Speed, Joseph Alvord, y weddw Jane M'Carthy, y weddw Cook, Cynthia Bevry, Charles Montrose, a Mrs. Emma Day, i'w tori allan o Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, am ymddygiad annheilwng o gymmeriad Saint.

[Deallwn ni fod "saint gauaf" yn meddwl y rhai hyny sydd wedi eu bedyddio yn unig er mwyn cael y fraint o wasanaethu y diafol yn fwy perffaith, tra yn gauafu gyda y saint, neu ladrata eu ffordd i'r mwngloddiau.—Gol.]

Ar ol cael darlith ynghylch Neuadd y Degau a thrigain gan yr Henuriad J. M. Grant, gohiriwyd y gymmanfa hyd ddydd Sadwrn, yr 8fed o Chwefror, am 10 y boreu, a therfynwyd trwy weddi gan y Llywydd Young.

---

## HANES TAITH O DDINAS Y LLYN HALEN FAWR, AM BEDWAR CANT A HANNER O FILLTIROEDD I'R DEAU [ODDIWRTH CAPT. D. JONES].

[*Parhad o dud.* 241.]

Ion. 10.—Tiriodd y gweddill o'r cwmni, a derbyniwyd hwy yn garedig i fwynhau o'r wledd odidog a ddarparasid erbyn yr amgylchiad; oddiamgylch y ford ar y glaswellt, eisteddai tua 50 o feibion gwrol Seion, mewn undeb a chariad bob un. Codwyd yma *Liberty Pole*, yn tua 50 troedfedd o uchder, yn gofadael o sefydliad cyntaf y wlad hon. Cafwyd llawnder o goed o amryw fathau yn agenau y mynyddoedd, ceryg calch, *plaster of paris*, &c. Pellder o Ddinas y Llyn Halen Fawr yw 277½ mynyd.

— 14.—Cychwynasom oll tuag adref. Yr ail ddydd gadawsom y dyffryn dros restr o fynyddau, a dechreuodd yr eira fwrw, a pharhau i fwrw mwy neu lai, hyd yr 20fed. Yn ystod yr amser hwn teithiasom hyd heol yr Ymfudwyr, gan mwyaf dros fryniau a phantydd caregog, yn flinedig, weithiau heb ddwfr, ond eira, am ddyddiau, oddieithr tri neu bedwar o ddyffrynoedd bychain ac anenwog, oddieithr dyffryn y *Beaver*, yr hwn sydd o gryn faintioli a manteisiol at amaethyddiaeth, ac yn yr hwn efallai

y sefydlir trefedigaeth cyn hir. Amryw ddyddiau gorfuwyd ni i deithio wrth y cwmpawd, o herwydd fod yr eira mor ddwfn ag i guddio yr heol a phob nodau, ac mor niwlog fel na welem nemawr ddim. Yr oedd yr eira erbyn hyn yn agos i lathen o drwch ar y gwastad; ac ni fuasai neb o honom ffordd hyn erioed o'r blaen. Ambell ddiwrnod ni theithiem braidd i mynyd, ac yn gorfod gyru y ceffylau ol a blaen i droedio yr eira o flaen yr ychain a'r wageni, olwynion y rhai weithiau a gleddid yn yr eira. Eglur yw yn awr nad allwn deithio yn hir fel hyn, canys y mae porthiant yr anifeiliaid wedi ei gladdu, oddieithr blaenau y cedrwydd. Hefyd, nid oes genym ymborth i aros oll yma hyd y gwanwyn; a chan y byddai yn sicr y lladdai yr Indiaid ein hychain, ac y cymmerent ein hyspail, pe y gadawem oll, cydunwyd fod i un ar hugain o honom gychwyn ar geffylau tuag adref, a gadael yr oll a allem o'n hymborth i'r gweddill i aros yma hyd onid elai yr eira ffwrdd; ac felly cychwynasom dranoeth, gan adael ein wageni, &c., ar afon yr Helyg.

Yn awr mewn sobrwydd y dechreuodd ein caledi! Er ceisio yn galed o foreu hyd yr hwyr, nid allem deithio dros 8 mynyd neu 10 mynyd; yr eira yn lluwchfeydd, weithiau hyd 8 neu 10 troedfedd o drwch,—heb ddim i'm fwyta ond bara, yn brin, a chig sych, a gorwedd yn yr eira y nos, yr hwn erbyn y boreu a'n gorchuddiai yn droedfedd o drwch. Nid gwaethed yr eira ar ol y cyfan ag oedd y blinder a'r oerfel, heblaw i fod genym yn agos i gant a hanner o filltiroedd cyn dysgwyl gweled tŷ, na neb i'n cynnorthwyo; a'n ffordd yn awr yn esgyn bob dydd yn uwch tua'r nefoedd wen dros restr o fynyddau ysgyrniog. Etto ni theimlem ein perygl gymmaint hyd nes i'n lluniaeth brinhau i fisgieden fach y dydd, yr hon er hyny a ranwn a'm hanifel ffyddlon, yr hwn erbyn hyn oedd rhy wan i'm cario, na braidd i ddod yn mlaen ei hun. Yr oedd rhai ceffylau yn rhoi i fyny bob dydd, ac yn cael eu gadael ar ol, i drengu yn ddiddadl yn yr eira, a'u marchogion yn taflu eu cyfrwyau, dilladau, a phob peth a allent hebgor, gan ddilyn ar draed. Un diwrnod, cyn cyrhaedd uchder y mynyddoedd, gadawsom chwech o anifeiliaid braidd yn ngolwg eu gilydd; y rhai druain a ragwelent eu perygl, ac a wehyrent ar ein hol tra yn y golwg, yr hyn, yn gymmysg ag ysgrechiadau y bleiddiaid, &c., oedd, ond miwsic tor-calonus.

Yn mhlith ereill, ffaelodd un o'm ceffylau innau. Mawr oedd ein llawenydd pan y cyrhaeddasom afon Seviere, eithr cyn hyn yr oeddwn i ac amryw ereill yn ddall o herwydd yr eira, ereill wedi rhewi eu traed, a rhai eu dwylaw fwy neu lai, pa rai a arweinid ar y ceffylau a allai eu cario.

Wedi cyrhaedd o honom o fewn 50 mynyd i drefedigaeth Utah, a'r noson hono cofir yn hir, canys bwytasom y briwfwyd olaf; ac hefyd arddododd P. P. Pratt ac ereill ddwylaw arnaf, ac mi a welais y goleu dydd cyntaf yma ar a welais er's dyddiau! O'r fath lawenydd a barodd hyn a diolchgarwch! Dranoeth cychwynodd P. P. Pratt, a brawd arall, ar y ddau farch cryfaf i'n rhagflaenu, ac i anfon cymhorth i ni; dilynasom ninnau oreu a allem ar eu hol; ac er y dyoddefem lawer, etto yr oedd ein cwpan yn cael ei felyso gan obaith cryf y caffem ddiwedd ar ein taith cyn trengu. Y pedwerydd dydd wedi hyn, a'r boreu cyn cyrhaedd Utah, cwrddasom ddau frawd yn dwyn ymborth o Utah i'n cyfarfod. Ni raid i'm ddweyd mor dda oedd ei weled, pa hyd y buom cyn agoryd eu ffetanau, na pha faint a fwytasom cyn codi! Ond dywedaf i ni oll gael ein gwala a gweddill am y tro cyntaf er's talm; a'r noson hono cyrhaeddasom dref Utah, a derbyniwyd ni yn roesawus. Cysgais mewn gwely unwaith etto! Dranoeth aethom o Utah, oddieithr y rhai y rhewodd eu traed fel na allent deithio, a'r ail ddydd cyrhaeddasom Ddinas y Llyn Halen Fawr yn ol; a chefais fy nheulu a'r Cymry oll yn iach. Felly diweddodd y daith hynod hon, heb i neb o honom golli ein bywydau. Tiriodd y gweddill o'r cwmni yma yn mis Mai. Galarus oedd genyf nad allem gyflawni holl amcanion yr orymdaith y tro hwn; etto credaf y cwblheir hyny cyn hir. Amser a ddengys pa ddaioni a achosa yr ymchwiliad hyn; y cyffelyb, ni themtiai arian fi i'w dyoddef etto, heblaw ei bod hi wedi costio i mi fy hun tua 300 o ddolars. Erbyn i mi ddychwelyd, yr oedd amryw o'm hanifeiliaid wedi trengu yma o herwydd oerfel y gauaf, yr hwn oedd tuhwnt i ddim a'r a deimlwyd cynt nac a ddysgwyliwyd.

Cefais, gan amryw o'r mynyddwyr a'r Indiaid, amryw hanesion am fodoldeb cenedl o fobl wynion a gwaraidd a wladychent yn y deau. Cyduna eu hanesion o barthed i'w lleoldeb, &c., a sicrha rhai mai Cymraeg a siaradant; oes, y mae gormod o'r cyfryw hanesion, o gynnifer o wahanol fanau, personau, ac amser-

oedd, hollol anadnabyddus i'w gilydd,—i adael ammheuaeth yn fy meddwl i am fodoldeb gweddillion y *Madociaid*. Yn mhlith ereill, dywedodd y Llywydd B. Young wrthyf ei fod ef wedi cael hollol foddlonrwydd gan ddyn o gymmeriad da er pan y mae yma, i fod y cyfryw genedl yn cyfanneddu ar lanau y Colorado. Dywedai y gwr hwn iddo ymweled â hwy, a rhoddes y cyffelyb ddesgrifiad o honynt ag a roddwyd eisoes gan Mr. Ward; ac ei fod ef yn deall digon o'r iaith Gymraeg yn unig i wybod mai Cymraeg a siaradent hwy. Ychwanegodd fod hen lyfrau mawrion yn eu plith, pa rai er nad allent eu darllen, a barchent yn fawr ac a gadwent yn ofalus, gyda dysgwyliad yn ol eu traddodiadau, fod yr amser ar wawrio pan y daw rhyw un o wlad eu tadau ag a'u dysga hwynt i'w deall a'u darllen etto!

Dichon fod yr hanesion a gefais yn anghywir i raddau; ni ddysgwyliaf lai, eithr eu bod oll yn ddychymmygion hollol ddisail, meddaf etto, nid allaf gredu, yn enwedig pan eu cyssylltaf â'r hanesion a geir yn nghroniclau Cymru am ymadawiad y fath un â Madoc ab Gwynedd o Gymru yr ail waith i'r America gyda deg o longau yn llwythog o ymfudwyr,—y traddodiadau a gafwyd yn mhlith brodorion henaf y taleithiau, "fod dynion gwynion wedi tirio ar ororau eu gwlad, ac wedi esgyn yr afon Taunton yn Massachusetts, mewn deg o dai nofiadwy, a gorchfygu y brodorion." Yr hanesion a gefais gan yr "*American Antiquarian Society*," pa rai a'u dilynasant wrth adfeiliadau eu celfyddydau, eu tai, &c., hyd lanau y Llynoedd, ac oddiyno hyd "*Falls of Ohio*," yn mha fan, ebe Mr. Josiah Priest, eu llywydd, y cafwyd ychydig flynyddau yn ol, amryw gyrff wedi eu claddu, a'u bod yn parhau yn y fath gyflwr o anllygredigaeth, fel y canfyddwyd yn amlwg eu gwisgoedd rhyfelawg am danynt, eu bod yn efelychu y wisg Rufeinig, ac ar un o honynt yr oedd arwyddlun y mor-forwyn yn chwarae ar y delyn. Ai gwir fod hyn yn ystumau Cymru cyn ymadawiad Madoc nid yw sicr i mi, ond meddyliaf i mi ddarllen hyny. Heblaw hyn darllenais mewn cyhoeddiad a berthyna i'r Wesleyaid yn St. Louis, "fod llwyth o Indiaid yn cyfanneddu ar yr afon *Iroquois*, yn Nhalaeth Illinois, yn siarad Cymraeg, ac, ddarfod i ddau Gymro ag a oeddynt yn ngwasanaeth yr "American Fur Company," wneuthur marsiandiaeth y Cwmni â'r Indiaid yn Gymraeg. Heblaw llawer ychwaneg o hanesion diweddarach yn fy meddiant, yr oll a brofant

yr un peth i mi; a dymuniad mwyaf fy enaid er's mwy nag 20 mlynedd, yw eu cael i lygad haul a gwybodaeth o'u cyndadau.

Yr eiddoch yn y gwirionedd,

D. JONES.

---

## ATHRAWIAETH CYTHREULIAID.

MAE y "Star," am Awst 1, 1851, yn cynnwys sylwadau o eiddo y Llywydd F. D. Richards, mewn perthynas i athrawiaeth cythreuliaid, a chwennychem i bawb a allo eu darllen, o herwydd nas oes lle genym yn yr UDGORN. Gellir deall y rhan fwyaf yn nghylch y pwnc hwn drwy gyfieithu y dyfyniad a rydd y brawd Richards, allan o waith y prophwyd Joseph, ar yr un pwnc. Mae y dyfyniad fel y canlyn:—

"Dywedwch wrth y brodyr, H——, ac wrth bawb ereill, nad yw yr Arglwydd erioed wedi eu hawdurdodi hwynt i ddweyd y caiff y diafol, neu ei angylion, neu fab y golledigaeth, eu hadferyd rywbryd, canys nid yw natur eu tynghed wedi ei dadguddio i ddyn—nid yw yn cael ei dadguddio, ac ni chaiff ei dadguddio byth, ond i'r rhai hyny a wneir yn gyfranogion; o ganlyniad, y rhai sydd yn dysgu yr athrawiaeth hon, nid oddiwrth Ysbryd yr Arglwydd y derbyniasant hi. Gwir a fynegodd y brawd Oliver mai athrawiaeth cythreuliaid ydoedd. Yr ydym ni, gan hyny, yn gorchymyn na ddysgir yr athrawiaeth hon mwyach yn Seion. Yr ydym yn cymmeradwyo penderfyniad yr esgob a'i gynghor, ynghylch fod yr athrawiaeth hon yn amddifadu dyn o gymundeb."—*Times and Seasons*, cyf. vi, tud. 801.

---

## TRIBAN I'R ARWYDD-GEISWYR.

PE gwnelwn i arwyddion,
Er mwyn boddloni dynion,
Fe gawn ganmoliaeth bryn a bro,
A llawer o gyfeillion,

Ond etto, ymresymwn,
Pe gwnawn, gwas pwy a fyddwn?
Pa un ai gwas i'r Iesu cu,
Neu was i benaeth annwn?

Mae rheswm yn fy nysgu,
Na fyddwn was i'r Iesu,

Ond gwas i'r cyfryw ddynion hyn
A fyddwn yn foddloni.

Wel, pwy yw'r lluoedd cysson
Ofynant am arwyddion?
O ba fuchedd, a pha wlad,
A phwy yw tad y dynion?

Os chwiliwn yr ysgrythyr,
Cawn weled hyn yn eglur,
Mai eiddo'r diafol yw eu chwant,—
A'i blant yw'r arwydd-geiswyr.

Eu buchedd sydd druenus,
Yn ddrwg a godinebus;
Eu trigfa hwy, eu gwlad a'u tre',
Fydd uffern, y lle poenus!

Wel, wel! ai gwir yw hyna?
O, ïe, gwir ei wala;
Ond os anghredi nad gwir yw,
Dos i air Duw a chwilia.

*Y Graig-ddu.* J. RICHARDS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

RHAGFARN SEREN GOMER.—Wedi darllen ar amlen "Seren Gomer" ei bod yn cyhoeddi pob math o Hysbysiadau, a hyny heb wneyd gwahaniaeth i neb pwy bynag, penderfynasom i ddanfon cyfres o Lyfrau Cymraeg y Saint i'w cyhoeddi ynddi. Gwyddem mai prif ddyben pob cyhoeddwr Hysbysiadau yw cyhoeddi am arian, ac felly yn ddiau y credem am gyhoeddwyr y Seren. Yr oedd llyfrau pob sect i'w gweled ar glawr y Seren yn ddiwahaniaeth, a hyny o herwydd ei bod yn cael ei thalu. Ond ni wna y Seren gyhoeddi Llyfrau y *Saint*, er talu yn mlaenllaw. Na, ys dywed y Parch. D. Ll. Isaac, yn ei lythyr atom, "ni etyb i ni ei wneuthur." Dywed y byddai yn dda ganddo ein boddloni, ond ni etyb cyhoeddi Llyfrau y Saint yn y *Seren.* Paham, Mr. Isaac? Ai ofn sydd arnoch i'r wlad eu gweled, ac wedi hyny weled eich twyll chwi? A oes achos i'r Parch. D. Ll. Isaac, ysgolhaig mor fawr, ofni cyhoeddi ychydig o lyfrau i'r Saint? A oes rhyw "dduwies" ganddo mewn perygl, neu ynte ein *scorno* y mae? Na, nid *scorno*, canys dywed yr hoffai ein boddio, ond ni *etyb* i wneyd hyny! Mae yn rhaid y byddai crefydd Mr. Isaac mewn perygl pe cyhoeddai efe lyfrau y Saint, ac felly gwell peidio; a chan hyny gadawn lonydd iddo yn awr ar hyna.

LLYTHYRON I'R DYFFRYN.—Hysbyswn y gall y Saint ddanfon llythyron at eu brodyr i Diriogaeth Utah, am swllt yr un, os na fyddant dros hanner wns, trwy ragdalu neu fel arall; tra y mae y cludiad i Dalaeth California yn 2s. 9c.

TALIADAU O ORPH. 23 HYD AWST. 7.—Sir Fynwy, £2; Sir Frycheiniog, 10s; Sir Gaerfyrddin, £11 15s 2c; Morganwg Orllewinol, £6 8s 8c; Sir Benfro, £1; Llanilltyd, 8s 9c; Ynysgou, 2s 1c; Pontytypridd, £1 3s 4c; Llanfabon, 18s 1½c; Gog, 10s; Caerdyf, 10s 1½c; Georgetown, 15s 3½c; Merthyr, £1 13s; Pendaren, 8s; Cefn, 15s 10c; Eglwysnewydd, 1s 4c. Cyfanswm, £28 19s 6½c.

"W. T."—Ymdrechwn gael lle i'w ateb yn ein nesaf. Mae cymmaint o bethau o'r Dyffryn yn croni arnom yn awr, fel na allwn hebgor lle i bethau llai eu pwys.

LLYFR HYMNAU DWBL.—Y mae y ddau lyfr hymnau, wedi eu rhwymo ynghyd, yn bresennol ar werth, am 1s. 4c. yr un. Rhoddir ceiniog a dimai yr un o elw i'r îs-ddosparthwyr.

LLYFR MORMON.—Yn awr yw yr amser i'r Llywyddion, a'r Dosparthwyr, a'r Saint oll, i ymdrechu o blaid gwerthiad Llyfr Mormon yn mysg ein cenedl; byddwch megys un gwr. Yr ydym wedi dechru ei gyfieithu, a gweddiwch drosom am bob dawn anghenrheidiol at waith mor bwysig. Rhoddwch wybod, yn *ddifeth*, erbyn y 31ain o Awst, pa nifer a dderbynir yn mhob man. Nac esgeuluswch hyn. Digon tebyg y daw rhifyn allan bob wythnos, er nad ydym wedi addaw hyny bob tro.

ATH. A CHYF.—Yn mhen pythefnos etto, fe fydd Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau yn barod oll. Os danfona yr holl ddosparthwyr atom i ddweyd pa rifynau sydd yn eisieu arnynt, neu pa rai sydd ganddynt i hebgor, effallai y gallwn ni brynu rhai a gwerthu rhai ereill, fel y gwneler cymmaint o gyfrolau i fyny ag a ellir.

☞ Mae genym oddeutu cant o Destament y Deuddeg Patriarch wedi ei gyhoeddi yn llyfr, pris 10c. wedi ei wnio.

APWYNTIAD.—Apwyntiwyd Abednego Jones i lywyddu Cynnadledd Sir Gaerfyrddin, a Thomas C. Martill a Thomas Jenkins yn gynghorwyr iddo; a John Fleyd i fod yn henuriad teithiol.

☞ Dymuna y Llywydd Thos. Pugh i rybyddio y Saint rhag derbyn un Thomas Davies, yr hwn a ymadawodd o gangen Llansawel, cynnadledd Orllewinol Morganwg, cyn y delo yn ol i roddi boddlonrwydd i gynghor Castellnedd.

PRIODWYD ar y 24ain o Orphenaf, yn eglwys plwyf St. Helier, Jersey, gan y Parch. Phil. Filleul, yr Henuriad Henry Evans, o Gymru, â Miss A. Browse, o St. Malo, Ffrainc, sef yr un a fedyddiodd y brawd Howells.

☞ Yr ydym yn gorfod gadael llawer o bethau allan o ddiffyg lle y tro hwn, y rhai a gyhoeddwn etto.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 17.] AWST 23, 1851. [PRIS 1*g*.

## "GAIR O DDOETHINEB."

### GAN OLYGYDD Y "DESERET NEWS."

PAHAM nid yw yn ddoethineb i wneuthur ymarferiad cyffredin o yfed tê, coffi, neu DDIODYDD TWYMNION o unrhyw fath?

Gan nad oes un meddyg, athronydd, neu henuriad, wedi rhoddi ateb uniongyrchol i'r gofyniad blaenorol, yr ydym ni yn cyfeirio ein darllenwyr at ddyfyniad allan o bregeth y Llywydd Brigham Young, tud. 186, am brawf fod "tê a choffi yn wenwyn cwsg-bair," ac y mae hyn yn reswm digonol paham y mae yn ddoethineb i beidio eu defnyddio. Rheswm arall yw fod y rhai hyny sydd yn defnyddio tê a choffi, yn gyffredin yn eu hyfed hwynt yn DWYMN. Gan basio heibio, yn awr, bob effaith ddinystriol a gwenwynig tê a choffi ar y cyfansoddiad dynol, yr ydym yn cynnyg ychydig o nodiadau ar y rhan hon o'r Gair o Ddoethineb, yn ei ystyr llythyrenol mwyaf syml,—"DIODYDD TWYMNION nid ydynt i'r corff na'r bola."

DWFR TWYMN pur yw y ddiod dwymn fwyaf syml a wyddom am dani; ond gwna hyd y nod hon, pan ei hyfir i'r helaethrwydd ag y mae y rhan fwyaf y bobl yn gymmeryd o ryw fath o wlybwr gyda'u bwyd, laesu, gwanhau, a dirymu holl beiriannau y cylla, a rhwystro neu luddias y galluoedd treuliol yn eu gweithrediadau anghenrheidiol, wrth barotoi y bwyd i feithrin, a sugno y feithriniaeth o'r bwyd ar ol iddo gael ei barotoi felly.

Y mae effaith dwfr twymn ar y rhan fwyaf o sylweddau anifeilaidd yn eithaf adnabyddus; er enghraifft, pan fyddo dernyn o groen, lledr, neu gig, yn cael ei ddodi yn, neu ei ddwyn mewn cyssylltiad â dwfr twymn, y mae yn dyfod yn hydwyth, a gellir ei

dynu i unrhyw ddull braidd, ac etto nid oes gallu ganddo i gadw y dull hwnw, hyd nes yr oera drachefn, ac efallai sychu.

Felly y mae gyda y cylla ac holl beiriannau y cyfansoddiad dynol mewn cyssylltiad â'r cylla, pan eu gwlychir â dwfr twymn; a phe gallem eu cyrhaedd y pryd hyny gallem eu tynu ar led dros bren cyfryw, neu wneuthur cadwyn dynu o honynt, megys ag y gwnelem o ddernyn o groen neu ledr, ond ni fyddent oun defnydd cyn sychu mwy nag y byddai lledr; ac ni all peiriannau y cylla, pan wedi eu llaesu gan ddwfr twymn, gyflawni y dyledswyddau a osodwyd arnynt mewn perthynas i ymborth yn gyssylltiedig â'r corff, mwy nag y gall dernyn o groen gwlyb gyflawni dyledswyddau rhaff dynu; ac y mae wedi ei ddywedyd, y gallai dyn â rhaffau felly osod ei ychain i dynu llwyth o goed, a gyru nes y byddai ei deulu yn rhewi cyn y buasai y llwyth yn dechreu symud, o herwydd estyniad y rhaffau gwlybion; efelly y gallai dyn gymmeryd ymborth i gylla wedi ei laesu gan ddwfr twymn, lle yr arosai yr ymborth yn ddigynhyrfiad, hyd nes y dechreuai fraenu, cyn y byddai y peiriannau treuliol wedi oeri ac ymnerthu yn ddigonol i symud yr ymborth hwnw i sefyllfa barotoedig at feithriniaeth.

Drachefn, pan fyddo yr HYLIFAU a'r GWLYBYROEDD, y rhai ydynt yn arferol o ymgymmysgu â'r ymborth yn y cylla, i'r dyben o gynnorthwyo yn ei barotôad at feithriniaeth, neu at weithrediad y pibellau sugniadol, yn cael eu GORLIFO neu eu CYMMYSGU â rhyw gyflawnder o DDWFR TWYMN, y maent yn myned yn weinion ac aneffeithiol, ac yn analluog i gyflawni y swydd a benodwyd iddynt; o ganlyniad y mae treuliad yn cael ei attal, a rhaid i'r bwyd barhau i aros yn y cylla i ddysgwyl y gweithrediad o fraenu; pan y mae dolur pen, afiechyd y cylla, anesmwythder, gwasgiad yr holl ddyn, a chlefyd, yn ganlyniadau naturiol, yn diweddu yn fynych mewn marwolaeth.

Gellir dadleu yn rhesymol y gwna cymmeryd llawer o ddwfr oer gyda bwyd, wanhau gwlybyroedd y cyfansoddiad yr un fath â dwfr twymn; y mae yn eithaf gwirionedd, ond ni wna dwfr oer laesu y sugnyddion a gwanhau y pibellau dwfr, fel y dwfr twymn, eithr casglant i fyny a chariant ymaith y gormodedd dwfr. Y mae rhyw gyflawnder cymmedrol yn unig o unrhyw fath o wlybwr yn dda i'w gymmeryd gyda bwyd (ond y mae dim yn llawer gwell), ac y mae unrhyw gyflawnder yn fwy nag sydd yn anghen-

rheidiol i effeithio tenender priodol o'r bwyd yn y cylla, yn gymmaint â hyny yn ormod; ond, tra y mae dwfr oer yn teneuhau y gwlybyroedd yn y cylla, gwna, yn wahanol i'r twymn, gynhyrfu peiriannau y cylla, ac achosi iddynt i weithio yn fwy effeithiol, ar ol i'r gormodedd dwfr gael ei gario ymaith; gan hyny y mae yn ddoethineb i fod yn gymmedrol mewn yfed dwfr oer, gydag ymborth yn neillduol; yn gystal ag ymattal rhag yfed diodydd twymnion i unrhyw gyflawnder tra mewn sefyllfa iach? neu fel y dywedodd hen apostol, "Byddwch gymmedrol yn mhob peth."

Pan fyddo y peiriannau yn cael eu llaesu, a'r gwlybyroedd yn cael eu teneuhau gan ddwfr twymn, arosa yr ymborth am dymmor yn diweithrediad yn y cylla, a phan fyddo natur fel hyn yn cael ei gormesu, a'i chyfreithiau yn cael eu troseddu, y mae yn ceisio dial, ac yn ymdrechu gwthio yr ymborth hwnw o'r cylla cyn y byddo wedi ei barotoi i feithrin y corff, ac os llwydda yn ei ymdrech y mae chwydiad yn dilyn; os na lwydda yn ei ymdrechion dialgar i daflu yr ymborth i fyny, gwna ei wthio i lawr; neu os bydd unrhyw gyfran wedi ei barotoi er meithriniaeth, mae y pibellau sugniadol, y rhai ydynt rai o'r mwyaf tyner a theimladol yn y cyfansoddiad dynol, wedi eu llaesu gymmaint gan ddwfr twymn fel nad ydynt yn alluog i gyflawnu ei swydd, ac o ganlyniad, nid yn unig yr ymborth a'r feithriniaeth sydd yn cael eu colli gan y bwytawr, ond y mae y cylla a'r holl beiriannau treuliawl yn cael eu cynhyrfu, ac i raddau mwy neu lai, yn mynwesu ysbryd ymddial tuag at y sylweddau hyny, neu yr ymborth hwnw a wthiwyd yn ddiseremoni atynt a thrwyddynt.

Pe buasai yspwng yn cael ei ddal uwch ben dwfr, a chornel yr yspwng yn y dwfr, byddai yr yspwng yn sugno neu dynu y dwfr i fyny hyd nes y byddai yn llawn, a phob rhan o'r yspwng yn wlyb. Suddwch neu drochwch yr yspwng mewn dwfr, a gwthir y dwfr i bob mân-dwll mewn eiliad, ac holl briodoleddau sugniadol yr yspwng a ddinystrir; yn ystod yr ymsuddiad y mae yn foddedig a difywyd; ac os suddir ef mewn dwfr twymn, mae yr yspwng i raddau mawr yn myned yn ddiweithrediad, gan golli ei alluoedd sugniadol.

Efelly y mae gyda'r pibellau sugniadol yn y trefniant anifeilaidd; gellir eu boddi, hyd y nod â dwfr oer, ond os boddir hwynt mewn dwfr twymn, mae y gwres yn eu gwneyd yn llipa a diddefnydd; a thra y byddont yn aros yn y sefyllfa hono, rhaid i'r

corff, nid yn unig fod heb feithriniaeth, ond yn agored i unrhyw glefyd a ddaw ar ei draws, ac yn y dull hyny y mae yn dyfod yn loches i afiechyd.

Mae llawer o bobl wedi llygru cymmaint ar eu blys â diodydd twymnion, fel y maent yn meddu blys anghymmedrol, yr hwn a elwir syched, a phe rhoddent heibio eu diodydd twymnion, ni fuasai arnynt eisieu yfed agos cymmaint ag y yfant yn awr, a buasai hyn yn ddiwygiad mawr yn y trefniant teuluaidd, ac yn tueddu yn fawr at iechyd.

Yr ydym wedi gochelyd yn ofalus i beidio defnyddio enwau celfyddydol, gan ddymuno bod yn ddealladwy i bawb sydd yn caru gwirionedd; ac er y gallai cyfrolau gael eu hysgrifenu ar y pwnc hwn, rhaid i'r ychydig nodiadau hyn fod yn ddigon yn bresennol, i ddangos fod ein Tad Nefol yn ofalus fod ei holl weithredoedd er daioni, a phan y byddo yn rhoddi gair o ddoethineb i'w blant, y mae yn sylfaenedig ar egwyddorion athronyddol pur, ac ni all un dyn droseddu yr egwyddorion hyn heb ddyoddef canlyniadau y cyfryw droseddiad.

Gyda pha gymmaint o ffydd y gall Saint ofyn i'r ffynnonell am ychwaneg o ddoethineb, tra yr esgeulusir y doethineb hwnw sydd wedi ei wirfoddol roddi yn barod? A barha rhieni i roddi rhoddion i'w plant bychain, pan fyddo y plant yn damsang y rhoddion hyny dan eu traed, y rhai a dderbyniasant yn flaenorol? neu, a fyddai yn ddoethineb i rieni wneuthur felly? os na fyddai, gyda pha ymddiried y gall rhieni ofyn i'w Tad hwythau wneuthur iddynt hwy yr hyn ni wnelent hwy i eiddo eu hunain?

---

## CYNGHORION I'R SAINT.

Anwyl Frodyr,—Mae yn llawen genyf i gael y cyfleusdra o wneyd ewyllys Duw yn hysbys i chwi trwy y cyfrwng hwn. Yn yr wyth mlynedd ddiweddaf oddiar pan sefydlwyd yr Eglwys yn y Dywysogaeth hon, yr ydym wedi bod o dan lawer iawn o anfanteision; er ein bod wedi cael llawer iawn o lyfrau allan ag oedd yn dangos egwyddorion cyntaf yr efengyl, ac wedi bod yn dra llwyddiannus, a'r Eglwys yn mwynhau llawenydd mawr, &c., etto yr oedd dau beth neillduol yn ddiffygiol, sef yr Athrawiaeth a'r Cyfammodau a Llyfr Mormon, yn Gymraeg. Dyna y llyfrau cyntaf a ddylasai ddod allan. Y mae y genedl hon wedi

cael cam mawr: ond diolchwn am ei bod hi megys ag y mae arnom, a bod yr amser hyfryd wedi gwawrio pan y mae y llyfrau da uchod i ddyfod allan yn fuan; ac ni fydd fawr dros hanner blwyddyn cyn y byddant wedi dyfod yn iaith ein genedigaeth. Er mai y Saesneg fydd y brif iaith am yr amser presennol, trwy ba un y mae Duw wedi rhoddi dadguddiadau, ac yn myned i roddi etto, perthynol i'w Eglwys yn gyffredinol; o herwydd fod Duw wedi dewis yr iaith hono i sefydlu ei Deyrnas ar y ddaear, ond nid ydyw efe yn diystyru y lleill; ac y mae yn ddyledswydd ar yr holl Saint i ddysgu Saesneg. Bydd yn rhaid i bob cenedl ddyfod i ddeall Saesneg, ond ni fydd eu hieithoedd eu hunain yn cael eu diddymu oblegid hyny.

Ac yn awr, frodyr, ymdrechwch i ddysgu pawb eu dyledswydd. Annogwch bob aelod i gymmeryd y llyfrau uchod; nid yn unig fe ddylai pob aelod eu cymmeryd, eithr fe ddylai y rhieni eu cymmeryd i'w plant hefyd. Fe fydd plant yn codi yn erbyn eu rhieni, os na fyddant wedi darparu llyfrau ar eu cyfer, fel y gallont weled cyfraith yr Arglwydd. O, dadau a mamau yn Israel, cofiwch hyn, o herwydd yr wyf yn meddwl na cheir amser i gael ail argraffiad arnynt; ac am hyny ymdrechwch chwi sydd wedi dechreu cymmeryd yr Athrawiaeth a Chyfammodau i gwblhau, a'r lleill i anfon am gyfrolau cyfain, y rhai a fydd barod yn ddioed; ac ymdrechwch i gasglu enwau at Lyfr Mormon; yr ydym yn bwriadu cael 2500 o dderbynwyr. Gwyddoch, frodyr, fod cost mawr i ddyfod â llyfr fel hwn allan, heblaw llafur caled; ac yna deuwch yn enw yr Arglwydd o'n plaid ni, a gweddiwch drosom; y mae arnom gyfrifoldeb mawr, yn wir; ac yr ydym yn teimlo mwy o bwys y gwaith hwn bob dydd; a bydded i chwithau fod yn yr un teimladau, ac i ddymuno gweled gwaith Duw yn myned yn mlaen yn gyflym yn y wlad hon. Dywedai rhai o elynion y gwirionedd y byddai ar ben ar ein crefydd ni pan ddeuai Llyfr Mormon allan yn Gymraeg. O, ddeillion, dyna pryd y bydd yn marchogaeth yn gyflym, ac y bydd cegau offeiriadon, pregethwyr, ynghyd â phob Jack yn gorfod cau. Y maent wedi cael cynauaf da trwy ddal y llyfr hwn yn eu llaw ddeau yn y pwlpudau, gan floeddio, Twyll, Twyll!! &c. A thyma yr amser ar wawrio pryd y caiff ein cenedl anwyl y llyfr hwn yn yr iaith Gymraeg; a chaiff miloedd wybod mae yn hwn y mae yr egwyddorion sydd yn dangos cyf-

lawnder Efengyl Iesu Grist; a thrwyddo daw celwyddau y gweinidogion i'r amlwg; a bydd yn uffern arnynt hwy ar y ddaear, pan y bydd yr onest eu calon yn dyfod wrth y miloedd i Eglwys Iesu Grist. Gwae chwi, bregethwyr ac offeiriadon, mae yr Arglwydd yn dyfod i'r maes ic'h herbyn chwi yn fuan; yr ydych wedi codi eich llaw yn erbyn yr Hollalluog Dduw. Deued yr onest eu calonau o'ch plith chwi; yr ydym ni yn eich gwahodd chwi yn enw yr Arglwydd, gan wybod fod dydd ofnadwy wrth y drws. Nid yn unig y mae genyf awydd gweled Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau a Llyfr Mormon yn dyfod allan yn Gymraeg, ond y mae awydd arnaf eu gweled yn dyfod allan yn mhob iaith, ac fe fyddant hefyd cyn pen ychydig amser. Ac yr ydwyf yn bwriadu cael o gwmpas 50 neu 100 o Lyfrau Mormon o bob iaith i Gymru, nid yn unig er mwyn cynnorthwyo i gario y gwaith yn mlaen, ond y mae genyf bwnc arall mewn golwg, sef yr ymgasgliad i Seion, lle y cawn drigo, a chael ein dysgu pa beth ydyw iawnderau dyn, a'n darparu yn barod erbyn dyfodiad yr Arglwydd: ac fe fydd undeb, tangnefedd, a chariad yn preswylio yn nghalonau yr holl rai pur o galon. Credwyf pan bydd y Saint yn mwynhau y sefyllfa hyny, y bydd yno gymdeithas hyfryd rhyngddynt; byddant o ddinas i ddinas, ac o dŷ i dŷ, yn mwynhau cysuron; ac yr ydwyf yn dysgwyl y bydd llawer o honynt yn ymweled â dinasoedd a thai hen genedl y Cymry, ac os na fydd genym Lyfrau Mormon yn y gwahanol ieithoedd, megys Saesneg, Ffrengaeg, German, Italian, &c., i osod ger eu bron wedi ciniawa, ni fydd y gymdeithas mor felys. Ac yr ydwyf yn meddwl y byddwn ninnau, yn ol ein gweithredoedd, yn cael ein gwahodd i ymweled ag ereill, megys Saeson, Ffrancod, a'r gwahanol genedloedd ereill; ac os na fydd gyda hwythau lyfrau Cymraeg, megys Llyfr Mormon, &c., mae yn resymol na fyddwn ninnau ddim yn teimlo mor ddedwydd. Gan hyny, cynghorwn ni y brodyr Seisnig i dderbyn llyfrau Cymraeg, a'r brodyr Cymreig i dderbyn llyfrau Saesneg, ynghyd â phob iaith arall, cyn belled ag y bydd amgylchiadau yn caniatâu. Yr wyf yn terfynu yn awr, a bydded i'r llythyr hwn fod o fendith i chwi oll, yw fy nhaer ddymuniad. Amen.

Eich brawd a'ch gwas yn Nghrist,

WM. PHILLIPS.

14, Castle St., Merthyr Tydfil, Awst, 14, 1851.

O.Y.—Y mae Thomas Morgans yn cael ei ryddhau oddiwrth Gynnadledd Sir Fôn, a William Sims o Aberdare, i lywyddu yn ei le. Y mae William Evans yn cael ei ryddhau o Gynnadledd Sir Feirionydd, a William Richards o Rymni i gymmeryd y llywyddiaeth yn ei le. Hefyd y mae yr Henuriad Dewi Elfed Jones i fod yn henuriad teithiol i bregethu yr Efengyl yn mhob man yn nghynnadleddau Deheuol Cymru, o gynnadledd i gynnadledd, ac o gangen i gangen; ac i gymmeryd ei lywyddu gan y llywyddion. Nid yw ef i lywyddu, ond yn unig pregethu; a bydded i Dduw ei fendithio, a'r Saint i gofio am eu deulu yn nhref. W. P.

---

## BEDYDD.

### YR ANGHENRHEIDRWYDD O HONO.

*At y Cyfeillion* (Quakers), *a'r Undodiaid, a phawb nad ydynt yn credu yr anghenrheidrwydd am Fedydd.*

Hynaws Gyfeillion,—Yr ydych yn ddystaw bob amser yn eich cyfarfodydd, hyd nes y caffoch gynhyrfiad yr ysbryd; ond wedi mwynhau y cynhyrfiad, nid yw un amser yn gynhyrfiol am fedyddio neb, na son am fedydd ychwaith: yr wyf wedi darllen am Ioan Fedyddiwr, yr hwn oedd yn llawn o'r Ysbryd Glân o groth ei fam, ac yr oedd yr Ysbryd hwn yn ei gynhyrfu ef yn aml i fedyddio, a chymhell dynion i ymostwng i'w fedydd ef: fe orchymynodd Crist hefyd i ddysgu a bedyddio yr holl genedloedd, a Mathew, Marc, Luc, ac Ioan a gynhyrfiwyd i grybwyll am fedydd: Pedr hefyd ar ddydd y Pentecost, a ddywedodd, "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch er maddeuant pechodau," —felly Phillip, Ananias, a Phaul hefyd, oll o dan gynhyrfiad yr un Ysbryd, ac oll wedi son am, a bedyddio mwy neu lai; ond er i chwi oll gael cynhyrfiad yr ysbryd yn achlysurol, ni chynhyrfiwyd un o honoch i gael eich bedyddio, na son am fedydd! Y mae hyn yn peri i mi feddwl, naill ai fod yr Ysbryd wedi cyfnewid yn ei athrawiaeth, neu nad yr un ysbryd y sydd genych chwi, ag oedd ganddynt hwy gynt; ac nid wyf fi braidd yn gallu credu fod yr Ysbryd wedi cyfnewid, canys y mae yr ysgrythyr yn dywedyd fod Duw yn anghyfnewidiol, ac felly wrth gwrs ei Ysbryd Glân. Gyfeillion anwyl, ystyriwch hyn, ac hefyd fod yn

ysgrifenedig, "Yr hwn a gadwo y gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwnc, y mae efe yn euog o'r cwbl."

Chwithau, Undodwyr, ydych daer am i bawb gredu mai un Duw sydd, ac felly y dywed yr ysgrythyr, "Un Duw sydd." "Nid oes i ni ond un Duw." Dywed yr ysgrythyr hefyd mai "Un bedydd" sydd, ond yr ydych chwithau (mae'n debyg) yn *aros* heb eich bedyddio, fel Saul gynt, ac y mae yn llawn bryd i ni ddywedyd wrthych, fel y dywedwyd wrtho ef, Cyfodwch, a bedyddier pob un o honoch er maddeuant pechodau. Twt, meddai aml un, fe gafodd y lleidr ar y groes ei achub heb ei fedyddio, a phaham na chawn ninnau? Am achubiaeth y lleidr rhaid i ni fod yn ddystaw, canys dystaw ydyw yr ysgrythyr, ond os mai ar y groes yr edifarhaodd y lleidr, nid wyf yn tybied y caniateid iddo ddisgyn i gael ei fedyddio, pe ewyllysiai; ac os felly, anghenrhaid oedd, cyn ei achub, i arall gael ei fedyddio drosto, neu yn ei le. Ond beth a feddyliwch chwi am yr ysgrythyr sydd yn dywedyd am ddysgu a bedyddio yr holl genedloedd? yr ydych chwi yn dysgu pawb (hyd y mae ynoch) i gredu mai un Duw sydd; ond ni chlywais i son am fedydd genych etto! Os nad oes anghen am fedyddio yn gystal a dysgu, y mae yr ysgrythyr yn dywedyd yn ofer; y mae y gorchymyn, y dystiolaeth, a'r addewidion oll, yn yr amser dyfodol; ac felly, os oes anghen am y naill yn awr, paham nad y cwbl oll? efelly, paham y dysgwch mai un Duw sydd, a pheidio yn gwbl â bedydd? Undodwyr anwyl, ystyriwch y dylid bwyta y llyfr oll, ac nid rhan.

I'ch cymhell i gredu yr anghenrheidrwydd am fedydd, gofynaf, a ydych am gael eich achub? O ydym, medd pawb. Wel, fe fwriadodd Duw foddi y byd unwaith, o herwydd drygioni ac anufydd-dod ei breswylyddion; a chyn cyflawni ei amcan, gorchymynodd i Noah eu rhybyddio oll, ac adeiladu arch er achub yr ufyddion; ac yn gymmaint a bod y belen ddaearol oll yn orchuddiedig â dwfr, fe wel pob dyn ystyriol, na allasai neb gael eu hachub heb fyned i'r arch; hyn oedd cynghor Duw iddynt, ymostwng neu ufyddhau iddo ef. A ydyw pawb yn addef, na allasai neb gael eu hachub yn yr amgylchiad hwnw, heb ufyddhau i Dduw? Ydym bawb. Wel, fe ddywedir yn epistol cyntaf Pedr iii, 21, mai, "Cyffelybiaeth cyfattebol i'r hwn (achubiaeth), sydd yr awrhon yn ein hachub ninnau, sef

bedydd." Yr hyn sydd yn gwneuthur yr ail yn gyffelyb i'r cyntaf yw, mai dim un dyn na dynes a achubir ond a ufyddhao: ni achubwyd neb ond yr ufyddion gynt, efelly etto; yr ydych hefyd wrth beidio ymostwng i fedydd yn *diystyru* cynghor Duw, fel y Phariseaid a'r cyfreithwyr gynt, a hyny hefyd yn eich erbyn eich hunain! Os ydych am eich achub, rhaid ymostwng i fedydd; canys trwy fedydd y deuwch i fwynhad o achubiaeth; efelly, gwelwch fod ymostwng i'r naill, yn dwyn dynion i fwynhad y llall.

Yn awr er profi rheidrwydd am fedydd, galwaf y tystion gerbron; yn gyntaf angel Duw, nis gwn i beth yw dy enw, ond cai lefaru (gwel Actau x, 6), "Gỳr am Simon Pedr—efe a ddywed i ti beth sydd *raid* i ti ei wneuthur." Beth oedd y *rhaid* hyn, debygech chwi, ai bod yn fwy defosiynol, ai ofni mwy o Dduw, ai gwneuthur ychwaneg o elusenau i'r tlodion, ai gweddio yn amlach, ai credu mewn gweinidogaeth engyl? Nage; dyna arferion cyffredin crefyddwyr yr oes hon, ac ychwaneg; hyn oll a gyflawnodd Cornelius yn fanwl; beth! a ydyw pawb ag sydd yn cyflawni yr holl bethau daionus uchod, yn fyr o fod yn gymmeradwy gyda Duw? Yr oedd Cornelius yn fyr, pe na, ni fuasai raid iddo wrth weinidogaeth yr angel, ac ni ddywedasai yr angel fod *rhaid*; wel, beth oedd y rhaid hyn? Yn ganlynol i wrandaw ar Pedr, ymostwng neu ufyddhau i'r hyn a ddywedodd; nid oedd hyn onid ei fedyddio ef, a phawb oedd wedi clywed y gair y dydd hwnw yn ei dŷ. *Aros*, medd rhywun, nid oedd efe weithredydd yn y bedydd, ond goddefydd; gwir, yn y gweinyddiad; ond efe oedd yn ymostwng neu ufyddhau, hyn a ofynwyd ganddo ef, hyn a wnaeth: y mae ymostwng, ac ufyddhau yn berwyddiaid gweithredol (*active verbs*).

> "A wado hyn, aed â hi,
> A gwaded i'r haul godi."

Yr ail dyst etto, ydyw Mab Duw (gwel Actau ix, 6), "Dos i'r ddinas, ac fe ddywedir i ti pa beth sydd *raid* i ti ei wneuthur." Beth oedd y rhaid hyn etto, nid credu nac edifarhau, canys fe ofynodd Saul yn fyr, "Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur?" "Dos," oedd yr ateb, "ac fe ddywedir i ti beth sydd raid i ti ei wneuthur." Nid gweddio, nac ymprydio ychwaith, canys yr oedd er ys trydiau yn ddyfal wrth hyn; wel, beth oedd raid, ynte? Ymostwng i'r hyn a ddywedodd Ananias wrtho, hyny

oedd, "Cyfod, *bedyddier* di, a golcher ymaith dy bechodau, &c." Er fod Saul wedi cael gweledigaeth nefol, yn credu, edifarhau, gweddio, ac ymprydio, etto yr oedd efe yn *aros* yn ei bechodau; ac yn gymmaint a'i fod ef felly gynt, wrth gwrs y mae pawb felly etto, yn *aros* yn eu *pechodau*, os ydynt heb eu bedyddio er maddeuant. Yn awr, fe welwch fod tystiolaeth yr angel a'r Mab yn cyduno y naill a'r llall; etto, deuaf a thystiolaeth y Mab a'i *lw* wrth Nicodemus gerbron i brofi rheidrwydd am fedydd. Ioan iii, 7. "Na ryfedda ddywedyd o honof hyn wrthyt, y mai yn *rhaid* eich geni chwi drachefn." *Geni* dyn drachefn yn fedyddio! Ië, adnod 5med, "Yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho, Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddieithr *geni* dyn o *ddwfr* ac o'r *ysbryd*, ni *ddichon* efe fyned i mewn i deyrnas Dduw."

Ai bedyddio mewn dwfr naturiol a feddylir? Ië, y mae yn wastraff ar iaith i ddywedyd, â'r ysbryd ac â'r ysbryd, yn sarhad ar ein Iachawdwr, ac yn ynfydrwydd o'r mwyaf i gredu y fath beth. Gwir fod yr Ysbryd Glân yn cael eu draws-enwi yn *ddwfr bywiol*, yn afonydd o ddwfr bywiol, &c., etto, nid yw dwfr, ond traws-enw ar yr Ysbryd; gweler hefyd fod y dull hwn o draws-enwi yn gyffredin yn yr ysgrythyrau. Yn Dad. xvii, 15, dywed angel Duw, "y dyfroedd a welaist,—pobloedd a thorfeydd ydynt;" felly hefyd y dywedodd yr Iesu, geni o ddwfr, am fedyddio â, neu mewn dwfr; ac os gellir myned i mewn i deyrnas Dduw, neu eglwys Dduw, neu i'r nef, heb trwy fedydd, y mae Crist wedi tyngu yn ofer, ac ar gam; a phe gellid myned i mewn ryw ffordd arall, ni fyddai y cyfryw, yn ol yr ysgrythyr, ond lladron ac yspeilwyr: gan hyny, gyfeillion, Undodwyr, a phawb, holwch eich hunain, pa un ai gwell myned i'r nef yn wyr rhyddion trwy fedydd, neu trwy y ffenestri yn lladron ac yspeilwyr! Y mae pob dyn yn rhydd-ewyllysiwr, ac yn farnydd ar fater ei hun. Ac yn awr, yr wyf yn rhyddhau fy hun oddiwrthych, canys eglurais i chwi dystiolaethau ereill, am yr hyn beth yr ydych chwi etto heb ystyried yr anghen o hono, a'm tystiolaeth innau yw, fod yn rhaid i bob dyn a ewyllysia achub ei enaid i fywyd tragywyddol, gredu yn Nghrist, edifarhau am ei bechodau, cael bedydd er maddeuant, ac yna derbyn dawn yr Ysbryd Glân trwy arddodiad dwylaw gweision Duw yn awr fel cynt. Y mae genyf deimlad tuag atoch, canys fe fum fy hun yn hir yn yr un

cyflwr â rhai o honoch chwi, ond pan gefais oleuni, derbyniais ef; efelly, ystyriwch chwithau hyn o oleuni, a derbyniwch ef yn roesawgar. Yr eiddoch yn ffyddlon,

*Graig Ddu.* JOHN RICHARDS.

---

## ANGHYSONDERAU YR ATHRAWIAETH A CHYFAMMODAU, LLYFR MORMON, A'R BEIBL.

AT OLYGYDD "UDGORN SEION."

MR. GOL.,—Gan eich bod chwi yn ewyllysio goleuo ereill, a minnau hefyd yn ewyllysio yr un peth, ymdrechaf ddangos trwy ysgrifenu atoch, y manau sydd yn ymddangos i mi fel pe byddent yn croesi eu gilydd yn Llyfr Mormon a'r Athrawiaeth a Chyfammodau, gystal ag y gallaf: nis gall neb wneuthur yn well nâ'i oreu. Yn ol yr hyn ag wyf wedi weled yn yr Athrawiaeth a Chyfammodau, tud. 241 a 242 o'r argraffiad Cymraeg, yr wyf yn deall fod yr Arglwydd yn meddwl i bawb fod yn gadwedig rhyw bryd, oddeithr plant y golledigaeth: ond, os nad wyf yn methu deall yr hyn ag wyf wedi ei weled yn Llyfr Mormon (ail argaffiad Ewropaidd), tud. 491, y mae rhyw rai tebyg iawn i'r crefyddwyr sydd yn bodoli yn yr oes hon, am eu bod yn dweyd nad yw yr Arglwydd mwyach yn gweithio trwy ddadguddiadau na thrwy brophwydo, &c., i ddyfod yn debyg i fab y golledigaeth. Hefyd, yn nhud. 486, mae genym hanes fod Iesu Grist wedi dweyd fod dynion ereill sydd yn cael eu hadeiladu ar weithredoedd dynion, i gael eu "tori i lawr a'u taflu i'r tân, o ba le nid oes dychweliad." Rhai tebyg iawn yw y rhai yna, feddyliwn i, i'r crefyddwyr sydd yn ein plith, y rhai sydd yn cael eu galw ar enwau John Calvin, John Wesley, &c. Yr wyf yn deall wrth yr hyn sydd i'w weled yn nhud. 321, nad oes obaith byth i'r hwn a wnelo ddrwg holl ddyddiau ei fywyd i gael trugaredd. Nid yw yn dweyd nac yn meddwl, feddyliwn i, y pechod o gablu yn erbyn yr Ysbryd Glân.

Hefyd, os gwir yw yr hyn sydd i'w weled yn nhud. 58, a thud. 177, o Lyfr Mormon, y mae yn anghenrheidiol i mi gredu mai y diafol oedd y sarff a dwyllodd Efa, yr hyn beth sydd yn anmhosibl i mi os credaf yr hanes y mae Moses wedi ei adael i ni yn y rhan gyntaf o lyfr Genesis; canys dywed efe yno fod Duw wedi dweyd wrth y sarff a dwyllodd Efa, "Ar dy dòr y

cerddi, a phridd y ddaear a fwyti, holl ddyddiau dy einioes;" ac y mae yn rhy anhawdd genyf i gredu fod y diafol yn cerdded ar ei dòr, ac yn bwyta pridd y ddaear.

Hefyd, yr wyf yn methu yn glir a deall fod Oliver Cowdery yn ddieuog o'r drwg a sonir am dano yn yr Athrawiaeth a Chyfammodau, tud. 79, sef tori cyfammod yr offeiriadaeth; os nad oedd efe yn gwneyd hyny trwy fyned o'r Eglwys, ac aros allan tuag un ar ddeg o flynyddoedd, y mae hyn yn beth rhyfedd yn fy ngolwg i. Ac hefyd fod ———, un o'r deuddeg, a Dr. ———, dynion da yn ddiammau, yn yfed tê, os yw Duw yn ewyllysio i'w Saint ymwrthod ag ef.

Yn awr, gan fy mod yn golygu fod Llyfr Mormon a'r Athrawiaeth a Chyfammodau yn croesi eu gilydd mewn perthynas i barhad cosp y dynion sydd tu allan i Eglwys Iesu Grist, dymunaf arnoch, os ydych yn fy ngweled mewn tywyllwch yn y peth hyn, geisio rhoddi goleuni ar hyn, ynghyd â'r pethau ereill wyf wedi eu nodi. Os gwnewch, teimlaf fy hunan yn ddiolchgar iawn i chwi.

WILLIAM THOMAS.

[Mae yr atebion wedi eu hysgrifenu genym, ond nis gallwn gael lle iddynt y tro hwn, o herwydd eu meithder; cant ymddangos yn y rhifyn nesaf yn ddiffael.—GOL.]

---

## LLYTHYR O DDINAS MANTI, TIRIOGAETH UTAH, AT OLYGYDD "UDGORN SEION."

ANWYL FRAWD YN YR EFENGYL,—Fy esgusawd dros ysgrifenu atoch yw, o herwydd nad oes sicrwydd genyf pa le y mae fy rhieni na'm perthynasau yn byw yn awr; ac os byw hefyd, y gallwch chwi eu hysbysu am danaf; hefyd, ddarfod i mi addaw i lawer o gyfeillion hynaws, Saint ac ereill, yr ysgrifenwn oddiyma am y pethau oeddynt yn ammau yna am helyntion ac ansawdd y wlad, ei thrigolion, a'r grefydd a broffesir; addawodd llawer yna gredu fy nhystiolaeth oddiyma, os tystiwn mai gwir yr ymddangosai Mormoniaeth fyth. Er nad doeth eu hoediad hwy i gredu hyd hyny; etto, ystyriaf yn ddyledswydd arnaf fi i gyflawni fy addunedau iddynt; fel gyda eich cenad chwi, i roddi lle i hyn yn ngholofnau yr "UDGORN," y gallaf obeithio etto, er o bell, eu helpu i dori y ddadl ag a oedd yn eu meddyliau hwy.

O barthed i'r wlad yn gyffredinol, yn fyr, canys ni chaniateir lle i fanylu; gwlad fynyddig yw hon, yn cael eu thori yn ddyffrynoedd mwy a llai, brâs a hyfryd, gan restri o fynyddau uchel cerygog, coedog, eiriawg, ac oerllyd yr olygfa, yr hyn mewn gwrthgyferbyniad i'r dolydd breision, a'r tywydd hafaidd ag sydd o amgylch eu godrau, yn ddieithriad a ffurfia olygfa fawreddig.

Ei thrigolion presennol, heblaw y gweddillion o'r amrywiol lwythau o Indiaid ag sydd yn treiglo braidd yn annynol a disylw ar hyd ei broydd a'i bryniau, yw y Saint; pa rai, fel minnau, a ymfudasant yma o wahanol barthau y byd; pa rai, heb gymhorth yn y byd braidd, ond rhyddid o'r elfenau yn eu cyflwr naturiol, a gobaith i'w symbylu, y gallant yma fwynhau y rhyddid i addoli eu Duw a warafunwyd iddynt yn mhob parth arall o'r byd braidd; cydiasant megys mewn afluneiddiwch, ac eisoes, nid yn unig y maent yn bobl annibynol ar y byd, ac yn meddu llawnder at eu cynnaliaeth o ffrwyth eu llafur eu hunain, ond hefyd heddwch a rhyddid ag sydd yn werth llawer.

Mae ein swyddwyr, gwladol ac eglwysig, o honom ein hunain, a'r cyfreithiau fel y deiliaid yn cael cyfiawnder. Afreidiol dweyd fod y trigolion hyn yn grefyddol, canys nid oes dim arall yn *fashionable*, llawer llai goddefol yma. Mae yma bedair o ddinasoedd yn cael eu cyflym adeiladu a'u cyfaneddu, rhai yn cynnwys eisoes filoedd, a rhai ddegau o filoedd o drigolion; a'r wlad oddiamgylch, o ran amaethyddiaeth yn gyffelyb yr olwg i Gymru, oddieithr bod y caeau yn frasach, gwastadach, a thipyn mwy—ambell gae yn cynnwys miloedd o erwau! Mae pob celfyddydiaeth yn ffynu, ac ysgolion yn mhob trefedigaeth; addoldai yn lliosog a llawn o addolwyr Sabbothol. Mwynheir chyd cyffredinol drwy'r sefydliadau, a heddwch yn teyrnasu trwy'r broydd o'r bron. Eithr ni allaf ddweyd yr hanner ag a deimlaf neu a welaf am iawnderau a mwyniant, heb son am freintiau crefyddol y trigolion gwaredol hyn.

Pan y gwelwyf fanteision tymmorol y dyffrynoedd hyn, dianga fy meddyliau yn ol yn fynych i gystadlu cyflyrau fy nghydgenedl yn Nghymru; a'u daear dylawd, eu rhenti a'u trethi caledion, a'r oll sydd yn gwneyd caledfyd yna, a'r hawddfyd, y llawnder, a'r rhyddid a allant fwynhau yma, gyda diwydrwydd cymmedrol; eithr pan ddeallwyf am y pläau, cholerau, a'r

afiechyd, y marwolaethau, y lladradau, y llofruddiadau ag sydd yn difa dynolryw yna, ac yn chwerwi y pleserau melysaf, ni allaf lai nâ gofidio am na baent yma yn awr wrth y miloedd; ac nid wn am ddim a wnai'm dedwyddwch yn gyflawnach na mwynhau cwmni Cymreig yma.

O barthed i'r grefydd ag y tystiais gymmaint am ei geirwiredd pan yna, yr wyf yn tystio yn gadarnach heddyw nag erioed, mai hon yw gwir efengyl Iesu Grist yn ei grym. Yr wyf yn cael ychwaneg o dystiolaeth o hyn yn barhaus, a'r cyfryw hefyd nad allaswn gael yna; yr hyn sydd wedi gosod ei geirwiredd tu hwnt i ddadl yn fy meddwl i ers llawer dydd bellach. A phe y clywai fy nghyfeillion yno fy nhystiolaeth yn awr, byddai yn gadarnach nag oll; a byddai fy annogaethau yn daerach o lawer ar iddynt gymmeryd eu bedyddio gan weision Duw, er maddeuant o'u pechodau, ac fel eu hachuber yn nheyrnas Dduw. O chwi, fy mherthynasau anwyl, credwch fy nhystiolaeth hon; byddwch ddoeth er eich lles eich hunain. Chwithau fy nghydnabod, y rhai yr ymbiliais lawer â chwi ar ufyddau o honoch i drefn Duw i achub dyn—o'r pellder hwn bydded i'r cymhelliad olaf hwn eich nerthu i dori y ddadl bellach, mai goreu i chwi yw ufyddhau i ordinhadau y nefoedd, nag ymboeni i geisio ymfuchedu yn selog yn ol traddodiadau dynol yr oes; pa rai, mewn gwrthgyferbyniad, nid y'nt ond megys cysgodau i'r sylwedd. Dewiswch y rhan dda, a byddwch gadwedig, yw fy ngweddi yn barhaus.

Cofiwch fi yn serchus at fy rhieni anwyl, fy mrodyr, a'm chwiorydd hynaws, os gwelwch hwynt, ac at y Saint ffyddlon, gan obeithio eu gweled yma yn fuan, fel colomenod yn dyfod i'w ffenestri.

Mae y Cymry a ddaethant yma yr un pryd â mi yn fyw, ac oll yn iach a llwyddiannus, a'r a wn i. Mae fy nheulu innau oll a fy hunan, diolch i'r Cyfranwr o bob bendithion, yn mwynhau iechyd rhagorol, a gobeithion cysurlawn o'n blaen. Mae iechyd ein hanwyl Lywydd Capt. Jones yn well nag y bu; ond y mae ei ddiwydrwydd yn mhob dull, yn ei gadw yn nychlyd. Tebyg yr ysgrifena efe ei hunan atoch, ac amryw ereill, gan ba rai y cewch hanes manylach nag a allaf fi roddi i chwi. Etholwyd Capt. Jones yn Faer ac yn chief Justice, ar Ddinas Manti yn ddiweddar. Ydwyf, eich chwaer yn efengyl Crist,

ELIZABETH LEWIS.

## MYFYRDOD AR SEION.

TON—" Dysyrwch Gwyr Harlech."

PAN y byddo'm myfyrdodau
Draw yn Seion a'i phleserau,
F' enaid ysgafnha ei feichiau
A'i ofidiau blin.
Er bod yma mewn erlidiau,
'N mhlith gwrth'nebwyr gwirioneddau,
Draw mi welaf bob rhinweddau,
Er dedwyddwch dyn.
Gwelaf yno lawnder
O heirdd ffrwythydd mwynber,
'R oll, gwir yw, dan fendith Duw,
At gynnal natur dyner.
O, na wawriai'r hyfryd foreu,
Pan y caf fi yno'n ddiau
'M dwyn i Seion, gwlad y Seintiau,
Hynod hardd ei llun.

Pan yn syllu ar ei dolydd
Breision hardd, ynghyd â'i choedydd,
Hyn sy'n ennyn ynof awydd
Am fyned yno 'fyw:
Nid oedd gynt yn Eden wiwlan,
Er ei harddwch, tegwch dyddan,
Foddia'm myfyrdodau bychain,
Fel gwna Seion wiw.
Ni fydd yno ofni
Bwyta ffrwyth rhag pechu;
Pawb yn rhydd yno fydd,
Yn hyfryd wledda ynddi;
Lle ni fydd dim annedwyddwch,
O fewn hon, sef trigfan heddwch,—
O dan nodded Duw.

*Blaen Dowlais.* WILLIAM THOMAS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c

AMSER.—Amser yw y tlws gwerthfawrocaf a feddwn; ond etto gwnawn lai o sylw o hono na nemawr o ddim arall. Rhoddai dyn lawer am amser, pan fo ei amser ar ddarfod; ond treulia ef yn y modd mwyaf gwastrafflyd, pan fyddo mewn cyflawn fwyniant o hono.

CARIAD DUW.—Cariad Duw a'r byd sydd ddau beth gwahanol; os yw cariad y byd hwn yn preswylio ynom, yna cariad Duw a'n gadawa, ond dylem ymwrthod â'r naill a derbyn y llall. Teilwng yw i'r cariad goreu gael y lle goreu a'r derbyniad gwresocaf.

"BRAIDD y gallaf gredu," ebai Cicero, "fod y dyn hwnw yn ei iawn synwyrau, ag sydd yn amddifad o grefydd."

MAE Duw yn arfer cospi anufydd-dod i rieni, trwy adael plant yr anufyddion i ymddwyn tuag atynt hwythau yn yr un modd.

Os dyddiau meithion a fyddant dy gyfran, na wna hyny dy ddysgwiliad. Na chyfrif ar hir ddyddiau, ond ystyria y dichon pob diwrnod fod y dydd olaf, a bydd fyw bob dydd fel y gallot roddi cyfrif.

---

TALIADAU O AWST 8 HYD AWST 21.—Sir Aberteifi, £2 4s 9c; etto, gan W. Jones, 6s; Sir Dinbych, £1 8s; Sir Fynwy, £1; Dinas, 8s; Pontytypridd, £1 2s 3c; Llanfabon, 18s 1½c; Cwmbach, £1 5s; Dowlais, £1 0s 11½c; Georgetown, £1 11s 4c; Merthyr, £1 10s; Pendaren, 5s 6c; Cefn, 11s 9c; Ffynnon-Tydfil, 11s 5c; Cyfanswm, £14 3s 1c.

"W. P."—Mae Pris Rhifynau LLYFR MORMON wedi ei hysbysu ddwywaith yn barod; ond fe gymmerwn y pleser o hysbysu etto. Ceiniog a dimai yr un yw y pris a nodwyd, ond os ceir dros ddwy fil o dderbynwyr, gwerthir y rhifynau o'r 20fed allan am geiniog yr un. Bydd yn cynnwys oddeutu 30 o rifynau, o'r un blyg a maintioli â'r Udgorn, eithr yn cynnwys mwy.

☞ Mae yr "Athrawiaeth a'r Cyfammodau" yn barod oll yr un pryd â'r rhifyn hwn; ac mor fuan ag y cawn ef wedi ei rwymo, hysbyswn ei bris.

COFIWCH AM LYFYR MORMON.—O, frodyr, cofiwch am dano. Darllenwch lythyr y Llywydd Phillips yn y rhifyn hwn yn mhob cangen, ac efelychwch ei ffydd ef; ac yna fe gawn ddwy fil a hanner o dderbynwyr. Treied pob aelod am un, neu ddwsin o'r byd, yn dderbynwyr gyda ei hunan; pe ceid ffyddlondeb a chydweithrediad, gellid gwerthu pedair mil yn rhwydd. Cynnygwch ef i'ch cyfeillion, cymmydogion, siopwyr, &c., ac yr ydych yn sicr o lwyddo. Mae'r wlad am awyddus am brynu yr hyn a alwant yn "Feibl Newydd," ac am hyny rhodder cyfleusdra iddynt. Mae y llyfr hefyd mor rhad, fel y bydd yn rhwydd gan y tlodaf ei brynu, yn neillduol yn rhifynau.—Cofier danfon atom, yn ddifeth, erbyn y 31ain o Awst pa nifer a dderbynir yn mhob man.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 18.] MEDI 6, 1851. [PRIS 1*g*.

### YSGREPAN (*SCRIP*).

GOFYNA un gohebydd i ni, pa beth sydd i'w feddwl wrth *ysgrepan*, ac yn awr yr ydym yn barod i'w ateb. Er ein bod wedi hysbysu ein barn yn un o gyfarfodydd y Saint ynghylch y pwnc, etto ni theimlem i gyhoeddi ein barn yn yr UDGORN heb feddu sicrwydd ein bod yn gywir. I'r dyben hwnw, ysgrifenasom at y Llywydd F. D. Richards, a chawsom yr atebiad canlynol, yr hwn sydd yn cytuno â'r farn a roddasom ni:—

"Mewn perthynas i'r gair *scrip* (ysgrepan), yr oedd yn ddechreuol yn arwyddo cod neu gwdyn, yr hwn sydd wedi bod mewn arferiad parhaus, i raddau mwy neu lai, gan wrryw a benyw, oddiar cyn cof, yr hwn a allwn weled yn ein dydd ni, gan fod llawer o ddynion, a bechgynach hefyd, yn gosod un ar eu hysgwyddau, wrth ystrapen, ac odditan un fraich; neu fe ellir, efallai, ei gymhwyso hefyd, ond nid mor briodol, at gwdau o faintioli mwy. Defnydd y codau hyny a elwid yn ysgrepanau oedd at gynnwys rhyw bethau bychain ag oedd personau yn ewyllysio cadw gyda hwynt, yr un fath ag y mae llogellau yn cael eu defnyddio yn awr, ac hefyd er gosod ychydig o ymborth ynddynt er cynnaliaeth os buasai y teithiwr i fod allan, canys fe ddylid cadw mewn cof nad oedd dynion yn amser ein Hiachawdwr a Dafydd yn y cnawd, yn gwisgo y dillad a wisgant yn awr. Gwisgent y pryd hyny wisgoedd llaesion, ynghyd â gwregys am eu lwynau, y rhai nid oeddynt wedi eu cyfaddasu at logellau, yr un fath â'r dull presennol; o ganlyniad yr oedd ysgrepan neu

god yn fwy anghenrheidiol ac yn fwy mewn ymarferiad, y pryd hyny, nag yn bresennol, at y dybenion a enwais. Etto, defnyddir *scrip* (ysgrepan) yn ein dyddiau ni i arwyddo arian-bapyr, neu law-nodau, neu nodau cyfnewid, neu dyst-ysgrif am eiddo mewn ariandy, neu mewn masgnach rhyw gwmpeini; neu, yn fyr, gelwir unrhyw dderbyn o bapyr yn arddangos swm o arian, yn *scrip* mewn rhai gwledydd; o ganlyniad, y mae myned heb bwrs nac ysgrepan, yn y goleu uchod, yn arwyddocâu myned heb arian, neu arian-bapyr; eithr fe fydd i ni edrych ar yr ymadrodd ysgrythyrol hwn fel egwyddor, yn caniatâu y ddau arwyddocâd blaenorol i fod yn wirioneddol; a pha beth allwn ei gasglu oddiwrth y ddau? Wel, hyn yn unig; peidio parotoi rhagllaw yr hyn sydd ar rywun ei eisieu. Yn awr, gorchymyn mawr yr Arglwydd oedd, i fyned heb ragfeddwl am y fory, pa un bynag ai trwy gymmeryd anghenrheidiau gyda ni yn y cwd i fwyta neu i wisgo, neu trwy fod â phwrs (arian), neu *scrip* (arian-bapyr), i'w prynu hwynt; buasai y naill fel y llall o'r rhai hyn yn rhwystro y bwriad mawr, h.y., i dreio y bobl, ac i weled os oeddynt hwy yn feddiannol ar y cymhwysderau hyny ag oedd yn eu gwneyd yn deilwng o gyfeillach, dysgeidiaeth, a gweinyddiadau gweision Duw; canys, medd yr Athrawiaeth a Chyfammodau, "wrth hyn yr adwaenwch fy nyscyblion; hwy a'ch porthant ac a'ch dilladant chwi, ac a roddant i chwi arian." Yn awr, pe buasai dyn yn cael ei ragddarparu â bwyd, dillad, ac arian, ni allai efe brofi ei ffydd ei hun i fyned a rhybyddio y bobl ynghylch bwriadau Duw, yr hyn a ddangosai ei gariad ef ei hun tuag atynt, nac ychwaith pa un a fuasent hwy, y bobl, yn ddyscyblion ac yn deilwng o'i weinyddiadau. Rhaid, yn ddiammau, mai yr egwyddor hon, oedd ein Hiachawdwr yn anelu ati yn ei ddau orchymyn i'r apostolion cyntefig, a'r rhai hyny ag sydd yn byw yn awr, fod iddynt fyned heb bwrs nac ysgrepan, bydded ystyr llythyrenol y gair *scrip* yr hyn a fyddo, pa un bynag ai cod, neu bapyr o werth, neu y ddau. —Byddwch gystal a'm hesgusodi am fod mor hir cyn ateb hwn, gan fod llawer o resymau wedi cyduno i'm rhwystro yn hyny hyd yn awr. Gyda mawr gariad a bendith, ydwyf eich cydwas,

"F. D. Richards."

Wrth ddarllen yr uchod, fe wel y darllenydd fod yr hwn sydd yn cymmeryd ganddo god i ddal dillad, neu arian-bapyr, neu bwrs, yn darparu erbyn y fory. Mae yn ddiau fod eisieu arian a

dillad ar y rhai sydd yn cael eu danfon allan hebddynt, a dyledswydd y rhai a weinyddir iddynt gan y gweision yw eu diwallu hwynt. (Gwel Ath. a Chyf., dosran ix, a gwahanran 7.) Gwyn fyd y sawl a dderbynio un o'r rhai bychain hyn, brodyr lleiaf Crist, ac a roddo fwyd, diod, dillad, ac arian iddo. Wedi i was Duw gael pwrs ac ysgrepan neu god, gan y rhai y danfonir ef atynt, mae yn rhesymol y gall eu defnyddio, canys nid efe fydd yn meddwl am y fory, eithr y rhai a fyddant wedi ei dderbyn. Gallwn benderfynu mai pa fanylaf y sylwom ar orchymynion Duw, mai mwyaf i gyd a gawn ein bendithio pan yn myned allan i bregethu i genedloedd y ddaear. Pan fyddo Duw yn dadguddio rhywbeth, gofalwn am wneuthur pob peth yn ol ei air, ac yna fe gawn ein bendithio.

---

## "ANGHYSONDERAU" YR ATHRAWIAETH A CHYFAMMODAU, LLYFR MORMON, A'R BEIBL.

### ATEB I OFYNIADAU WILLIAM THOMAS.

Yr ydym yn canfod, wrth ddarllen y gofyniadau hyny, fod ein gohebydd mewn digon o eisieu goleuni, a gwnawn ein goreu i ateb ei ofyniadau, gan hyderu y byddant yn lles cyffredinol, yn neillduol i'r morwynion ffol hyny sydd heb olew yn eu lampau. Ac yn awr, er mwyn ateb y gofyniad cyntaf, gwnawn ddyfynu y gwahanol bethau a ymddangosant yn groes i'w gilydd, ac yna cynnygwn ein sylwadau arnynt. Y dyfyniad cyntaf a wneir o'r Athrawiaeth a Chyfammodau, tud. 241:—"Fel hyn y dywed yr Arglwydd, mewn perthynas i'r holl rai ag ydynt yn adnabod fy ngallu, ac a gawsant eu gwneyd yn gyfranogion o hono, ac a oddefasant eu hunain, trwy allu y diafol, i gael eu gorchfygu, ac i wadu y gwirionedd, a beiddio fy ngallu—hwynthwy yw y rhai hyny ag ydynt yn feibion colledigaeth, am y rhai yr wyf yn dywedyd y buasai yn well iddynt pe na chawsent eu geni, canys llestri digofaint ydynt hwy, wedi eu dedfrydu i ddyoddef digofaint Duw gyda'r diafol a'i angylion yn nhragywyddoldeb; mewn perthynas i'r rhai y dywedais nad oes faddeuant yn y byd hwn nac yn y byd a ddaw, gan eu bod wedi gwadu yr Ysbryd Glân ar ol ei dderbyn, ac wedi gwadu unig-anedig Fab y Tad—wedi ei groeshoelio iddynt eu hunain, a'i osod yn waradwydd." Y

dyfyniad nesaf a wneir o Lyfr Mormon, tud. 491:—"Gwae yr hwn sydd yn diystyru gweithredoedd yr Arglwydd: ïe, gwae yr hwn a *wado* Crist a'i weithredoedd; ïe, gwae yr hwn a *wado* ddadguddiadau yr Arglwydd, ac a ddywedo, Nid yw yr Arglwydd yn gweithio mwyach trwy ddadguddiad, neu trwy brophwydoliaeth, neu trwy ddoniau, neu trwy dafodau, neu trwy iachâu, neu trwy allu yr Ysbryd Glân; ïe, a gwae yr hwn a ddywedo yn y dydd hwnw, Nis gall un wyrth gael ei chyflawni gan Iesu Grist, er mwyn elw; canys yr hwn a wnelo hyn a fydd yn gyffelyb i fab y golledigaeth, i'r hwn nid oes drugaredd, yn ol gair Crist." Etto, yn nhud. 486, dywedir, "Os bydd yr eglwys wedi ei hadeiladu ar fy efengyl i, yna y Tad a ddangosa ei weithredoedd ei hun ynddi; ond os na fydd wedi ei hadeiladu ar fy efengyl i, ac wedi ei hadeiladu ar weithredoedd dynion, neu ar weithredoedd y diafol, yn wir meddaf i chwi, y maent yn cael llawenydd yn eu gweithredoedd am dymmor, ac maes o law mae y diwedd yn dyfod, a hwy a dorir i lawr, ac a deflir i'r tân, o ba le nid oes dychweliad." Y mae un dyfyniad arall i fod, ond meddyliwn fod ein gohebydd wedi camsynied trwy nodi tud. 321, yn lle rhyw fan arall; canys nid oes yno y cyfryw ymadroddion ag a noda efe.—Yn awr, nid oes dim yn rhwyddach na chyssoni yr Athrawiaeth a Chyfammodau â Llyfr Mormon, ynghylch y pwnc dan sylw. Yn y ddau ddyfyniad blaenaf, sonir am WADU Iesu Grist, ynghyd â'r Ysbryd Glân, am yr hyn nid oes faddeuant yn y byd hwn nac yn y byd a ddaw. Nis gall neb *wadu* ond yr hyn a fu yn *gwybod;* o ganlyniad, nis gellir cyffelybu sectariaid yr oes hon i'r rhai a wadant Grist a'i weithredoedd, ynghyd â'i ddadguddiadau a'i ddoniau, canys anghredu yn unig y maent hwy, yr hyn ni wna eu pechod yn anfaddeuol yn y byd a ddaw. Mae rhai personau o'r cymmeriad a noda Llyfr Mormon i'w cael yn yr oes hon, ond nid y sectariaid ydynt, eithr y rhai hyny ag ydynt wedi gwadu yr hyn a fuont yn gwybod trwy Ysbryd Duw. Dyna ddigon, feddyliwn, ar hyna; os nad yw, gallwn ymhelaethu dro arall. Y peth nesaf yw sylwi mai canlynwyr Wesley, Calfin, &c., yw y crefyddwyr sydd yn adeiladu eu heglwysi "ar weithredoedd dynion," y rhai, os nad edifarhant, "a dorir i lawr, ac a deflir i'r tân, o ba le nid oes DYCHWELIAD." Mae y "dychweliad" hwn i'w ddeall yr un fath â'r "dychweliad" yn y geiriau "mi a rodiaf lwybr ar hyd yr hwn ni *ddychwelaf*." Y mae Job, druain,

i ddychwelyd yn ol o'i fedd, er hyny; ac yn yr un ystyr y gellir dychwelyd o'r tân crybwylledig. Pe dywedid nad oes dychweliad byth, yn dragywydd, neu yn oes oesoedd, yna gallem feddwl tân diddarfod; ond gan fod y gair wrtho ei hun, ni olyga nad oes dychweliad *rywbryd*. Mae tynghed yr anwir i raddau yn guddiedig, er mwyn dybenion doeth; a'r sawl a gant fwyaf o eglurder yn ei chylch yw hwynthwy eu hunain.

Yn nesaf, crybwylla ein gohebydd fod Llyfr Mormon yn dweyd mai y diafol oedd y sarff a dwyllodd Efa, a bod Moses yn ei darlunio megys sarff naturiol, yr hon a gafodd ar ol hyny gerdded ar ei thòr, a bwyta pridd y ddaear. Mae yn rhy anhawdd gan ein gohebydd i gredu fod y diafol yn cerdded ar ei dor, ac yn bwyta pridd y ddaear; y mae hyny yn anhawdd genym ninnau hefyd i gredu. Y ffordd ddoethaf, feddyliem ni, yw credu Llyfr Mormon a'r Beibl, heb eu gosod i groesi eu gilydd. Dywed y Beibl mewn un man, sef yn Dadguddiad xii, 9, "A bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hen *sarff*, yr hon a elwir Diafol a Satan, yr hwn sydd yn twyllo yr *holl fyd*;" tra y dywed Llyfr Mormon mai efe a dwyllodd Efa. Ymddengys yn eglur fod y Beibl yn desgrifio yr offeryn a gymmerodd y diafol i dwyllo Efa, a Llyfr Mormon yn desgrifio y twyllwr, yr hwn a alwyd wedi hyny yn "hen sarff." Os gwrandawodd y sarff, yr hon oedd y cyfrwysaf o'r holl fwystfilod, ar lais y diafol, yr oedd yn teilyngu cosp, ac hyny a gafodd, trwy gael cerdded ar ei thòr, a bwyta pridd y ddaear. Yr oedd y diafol cyn hyny yn fab y golledigaeth, a'i gosp yn ddiammau wedi ei phenodi; canys yr oedd wedi twyllo llawer ar ei ol yn flaenorol. Rhaid mai y diafol, trwy enau y sarff, oedd yn llefaru wrth Efa; canys pa greadur, heb ddiafol ynglyn ag ef, a ddywedai, "Gwybod y mae Duw, mai yn y dydd y bwytäoch o hono, yr agorir eich llygaid, ac y byddwch megys duwiau, yn gwybod da a drwg?" Mae digon o enghreifftiau yn y Beibl o'r diafol yn llefaru trwy ddynion, tra mae yr ysgrythyr yn desgrifio mai y dynion oedd yn llefaru eu hunain; gwel Luc viii, 28, a lleoedd ereill. Meddyliwn fod hyna yn ddigon ynghylch yr hen sarff.

Mewn perthynas i Oliver Cowdery, nid oes dim yn ei fywyd yn profi ei fod yn euog o'r drwg a grybwyllir yn yr Athrawiaeth a Chyfammodau, tud. 79, lle y dywedir, "Pwy bynag a dòro y cyfammod hwn, wedi iddo ei dderbyn ef, ac a droa ymaith yn

*hollol* oddiwrtho, ni chaiff faddeuant yn y byd hwn nac yn y byd a ddaw." Dichon y gallai ef fod wedi ei dori i raddau, ond nid yn hollol; pen yr eglwys sydd yn gwybod oreu am hyny, ac nid nyni, neu ddynion allan o'r eglwys. Pe buasai wedi ei dori, ni chawsai ei dderbyn yn ol i'r eglwys, ac ni chawsai edifeirwch fel ag y cafodd.

Gyda golwg ar yfed tê, y mae apostol gymmaint at ei ryddid â neb: efallai ei fod am fod yn debyg i Paul, i fwyta yr hyn a osodir ger ei fron, er mwyn peidio rhoi tramgwydd weithiau: ond credwn nad yw yn gwneyd arferiad o hono, yn neillduol wedi galw sylw y deuddeg a phawb ereill at y Gair o Ddoethineb, yr hwn a gyhoeddwyd yn yr Udgorn.

Gobeithiwn yn awr fod ein gohebydd wedi ei oleuo, a bod y maen tramgwydd wedi ei symud.

---

## ADOLYGIAD.

**EGWYDDORION SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF** *yn cael eu pwyso yn Nghlorianau Rhesymau ac Ysgrythyrau.* Gan WILLIAM JONES, Bethesda.

MAE un o'r brodyr yn y Gogledd wedi bod mor garedig â gyru y llyfr uchod i ni i'w adolygu, yr hyn a wnawn gyda phleser. Cynnwysa 24 o dudalenau, a rhaid cyfaddef ei fod ychydig yn fwy boneddigaidd nâ llawer o'i flaen yn ymdrin â'r Saint. Dyweda ar y ddalen enwawl, "Ti a bwyswyd yn y clorianau ac a'th gaed yn brin." Dichon yn wir mai felly y bu; ond y mae eisieu cael gweled y pwysau, er edrych a ydynt yn gywir. Teimlwn yn ddigon byddlawn i'r clorianau, canys yr ydym wedi pwyso Mormoniaeth ynddynt droion o'r blaen, ac wedi ei chael yn bwysau da.

Y mae ein hawdwr yn dechreu ei draethawd trwy gyffelybu Saint y Dyddiau Diweddaf i Babyddiaeth, Mahometaniaeth, a Phiwseyaeth. "Mae eu hathrawiaethau," medd efe, "yn gymmysgedd cydblethedig o gyfeiliornadau rhyfygus a dinystriol, ond edrych arnynt yn symlrwydd yr efengyl." A wŷr efe beth yw symlrwydd yr efengyl? Gobeithiwn na feddylia symlrwydd efengylau y sectariaid, y rhai ydynt yn croesi eu gilydd gymmaint, fel nad oes dim yn debyg i symlrwydd yn perthyn iddynt.

Ychydig yn nes yn mlaen, dywed am y Saint, mai "y prif bynciau yn eu cred ydyw, y gallant iachâu y corff trwy ei enneinio ag olew, ac os caiff un o'u gweinidogion ei drochi mewn dwfr, y derbynia ei enaid iachawdwriaeth." Syndod mor groes yw hyn i athrawiaeth Iago (pen. v., 14, 15), lle y gorchymyna enneinio ag olew, ac i athrawiaeth Iesu Grist, yr hwn a ddywed, "Y neb a gredo ac a fedyddier, a fydd *cadwedig!*" Rhaid mai dyna yr "athrawiaethau amryw a dyeithr" a sonia Paul yn eu cylch, y rhai a fyddant yn yr amseroedd diweddaf, am eu bod mor groes i'r ysgrythyrau! Ni ddylai ein hawdwr waeddi "Tecel," nes i ereill gael gweled y pwysau: ei ben ef i'r glorian yw y pen-ysgafn yma, o leiaf, onide dangosed y glorian.

"Nid wyf yn meddwl," medd efe etto yn yr un dudalen (sef y 4ydd), "fod y twyll mor guddiedig fel nas gall pawb sydd yn deall y Bibl ei ganfod yn amlwg." Pwy sydd yn deall y Bibl? Ofnwn mai nid y dynion sydd yn prynu esboniadau. Y rhai sydd yn cymmeryd arnynt i ddeall fwyaf ar y Bibl, yw y rhai sydd yn gwybod leiaf ynghylch y Saint; canys hwynt hwy yw y rhai sydd yn ceisio fwyaf am wyrthiau i brofi ein dwyfoldeb, fel y cawn ddangos cyn diweddu. Coeliwch ni, mae "twyll" y Saint mor guddiedig, nes y mae y miloedd sydd wedi ymuno â hwynt yn methu yn deg â'i ganfod. Pa fodd y mae cymmaint o bregethwyr cymmeradwy yn mhlith y sectariaid wedi cael eu hudo at y Saint, tybied?

Yn nesaf, dywed ein hawdwr am ddau ddosparth sydd yn agored i gaelu hud-ddenu gan y Mormoniaid, sef gwrageddos anwybodus ac ieuenctid gobeithiol Cymru. Druain o honynt, os credant "brif bynciau" y Saint, sef enneinio y claf, a bedydd er cadwedigaeth! "Felly, cynghorwn fy nghyd ieuenctyd," medd efe yn nhud. 5, "i wrandaw yr efengyl yn ei symlrwydd, fel ei pregethir yn ein hoes ni, ac ei pregethwyd yn oes ein tadau er iachawdwriaeth iddynt, yn hytrach na myned i wrandaw chwedleuon disail, a dychymygion ynfyd ac ofergoelus." Ië, gwrandaw yr efengyl fel ei phregethir yn ein hoes ni, ac yn oes ein tadau, ac nid fel ei phregethwyd yn oes Crist a'r apostolion! Gwrandaw arni yn ei symlrwydd, megys ag y cafodd ei diwygio gan ddynion a esgymunwyd o'r eglwys Babaidd—megys y mae gan ferched y fam!

Yn nesaf, rhydd ein hawdwr, yn nhud. 5 a 6, rai o opiniynau y Mormoniaid, y rhai ydynt fel y canlyn:—

"1. Credant i'r wir eglwys, neu yr eglwys Gristionogol, ac efengyl Mab Duw, ynghyd a dylanwad yr Ysbryd Glân, fyned oddiar y ddaear yn ddilynol i'r oes apostolaidd—a'i bod yn llawn trigfanau trawsder, heb neb yn dal i fynu mewn gwirionedd goffawduriaeth yr Arglwydd am 1600 o flynyddau.

"2. Credant ddarfod i Dduw trwy offerynoliaeth Angel goleuni ddatguddio yr efengyl i un Joseph Smith, ac iddo ei awdurdodi i ail sefydlu yr eglwys Gristionogol ar y ddaiar, trwy bregethu yr efengyl ei hunan, ynghyd ag awdurdod i ordeinio ereill i'r gwaith.

"3. Honant fod yr un commissiwn ganddynt hwy ag a dderbyniodd yr Apostolion gan Iesu Grist,—eu bod i sefydlu yr eglwys yn yr un dull, ar yr un amodau, ac y meddiannant yr un awdurdod a'r Apostolion.

"4. Honant fod ganddynt yr un cymwysderau i wneud Bibl ag oedd gan yr Apostolion a'r Proffwydi santaidd, ac na wyddant pa mor fuan y byddant yn cael gorchymyn i hyny.

"5. Credant fod sefyllfa prawf i fod ar ol marw, ac y bydd pawb a fuont yn y byd o'r oes apostolaidd hyd amser y datguddiwyd yr efengyl i Joseph Smith, yn ddeiliaid o honi,—ac y cynygir iachawdwriaeth iddynt, trwy bregethu yr efengyl yn Mharadwys, (neu fel y geilw y Pab y lle, purdan).

"6. Credant y peru dydd y farn fil o flynyddoedd.

"7. Credant fod *dwy nefoedd*, heb son am y nef wybrenol, na'r sef serenol.

"8. Credant, ar ol iddynt fyned i California, y daw Iesu Grist i'w cyfarfod, ac y cant deyrnasu gydag ef am 1,000 o flynyddoedd, pryd y dinystrir pawb ereill, &c.

"Ni wnaf sylw ar dwyll Llyfr Mormon; y mae ei dyngheden o'm rhan i fel Coran y Mahomet. Gwrided dynoliaeth o'i blegid, a gwaded ei perthynas ag efe; cladder efe yn ngwlad ei endigaeth, ac aed ei goffadwriaeth i lynclyn difancoll."

Yn awr, cyn y sylwn ar y penau blaenorol, hysbyswn y bydd raid i ni neidio o fan i fan yn llyfr ein hawdwr, er cael gafael ar y gwahanol resymau sydd yn dal cyssylltiad â rhai o'r penau dan sylw, o herwydd fod ei draethawd mor anniben. Cawn sylwi arnynt yn y drefn ganlynol:—

(1.) Y mae yn wir ein bod yn credu i'r eglwys gael ei chipio oddiar y ddaear yn ddilynol i'r oes apostolaidd; eithr ni welwn ni fod hyny "yn annheilwng o Dduw cyfoethog o drugaredd, yr hwn sydd yn ewyllysio fod pob dyn yn gadwedig." Gan mai dynion wrthododd yr efengyl, ni ellir ystyried fod Duw yn annhrugarog mewn modd yn y byd. Mae ein Duw ni yn drugarog, ac yn danfon cenadon i bregethu i ysbrydion yn ngharchar, ac at y rhai hyny na chlywsant yr efengyl yn y cnawd; trae y mae Duw y sectariaid yn gadael miloedd o'n cydgreaduriaid i fyned i

golledigaeth heb glywed un pregethwr; "canys pa fodd y credant heb bregethwr, a pha fodd y pregethant oni anfonir hwy?" Mewn perthynas i'r eglwys yn cael ei chipio oddiar y ddaear, gallwn ddangos fod hyny yn ddigon rhesymol ac ysgrythyrol, ac yn ddigon o bwysau. Gan fod sectariaid y wlad yn dweyd nad Pabyddiaeth yw eglwys Dduw, mae yn rhaid nad oedd eglwys yn bodoli ar y ddaear, pan nad oedd neb o'r sectau presennol mewn bodoliaeth, ond yn unig Pabyddiaeth. Allan o'r eglwys Babyddol y tarddodd holl enwadau ein gwlad, fel y gellid profi trwy hanesyddiaeth. Pa beth a ddaeth o'r holl rai a fuont feirw pan oedd Pabyddiaeth yn llanw y wlad, pan nad oedd sôn am ddim un o wahanol sectau yr oes hon? Mor annhrugarog oedd Duw, os nad oedd yn rhoddi cynnyg iddynt yn y byd arall. Mae credo y Saint ynghylch y pwnc hwn, nid yn unig yn rhesymol, ond yn ysgrythyrol hefyd. "Na thwylled neb chwi mewn un modd," medd Paul; "oblegid ni ddaw y dydd hwnw hyd oni ddel *ymadawiad* yn gyntaf" (2 Thes. ii., 3). Gwel hefyd yn Dad. xii., 14—17. Pa ymadawiad yw hwn, oddieithr ei fod yn ymadawiad oddiwrth y ffydd? Gellir cael eglurhad ychwanegol ar hyn yn ein traethawd ar "Gorff Crist, neu yr Eglwys," fel nad oes achos ymhelaethu yma ar y pen hwn.

(2.) Mae yn wir ein bod yn credu fod angel y goleuni wedi ymddangos i Joseph Smith, a chyflwyno yr efengyl dragywyddol iddo, gydag awdurdod i'w phregethu i bob creadur. Nid oes dim yn afresymol yn hyny, nac yn anysgrythyrol. Gwaith angylion yw gweini yn mhob oes o'r byd; a chan nad oedd efengyl ar y ddaear, nid oedd neb yn addasach nag angel er ei dadguddio; canys dywed Ioan, yn Dad. xiv., 6, "Ac mi a welais angel arall yn ehedeg yn nghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddo, i efengylu i'r rhai sydd yn trigo ar y ddaear, ac i bob cenedl, a llwyth, ac iaith, a phobl" Y mae angel arall etto i ddilyn hwnw, ac i ddywedyd, "Syrthiodd, syrthiodd, Babilon, y ddinas fawr hono." Os oes angel i gyhoeddi syrthiad Babilon, y mae angel hefyd i adferu yr efengyl. Yn nesaf, y mae yn ddigrif i ddarllen yr hyn a ddywed ein hawdwr mewn perthynas i'r pwnc hwn, sef fod "llyfr Duw, a llyfr Mormon yn groes i'w gilydd; llyfr Duw yn dywedyd bod teyrnas nefoedd yn eiddo babanod, a llyfr Mormon yn haeru nad oedd teyrnas nefoedd yn gyrhaeddadwy iddynt. Y casgliad ydyw, fod yr holl fabanod a fuont feirw o

amser yr Apostolion hyd Joseph Smith, yn golledig," (tud. 7). A ddarfu y dyn hwn erioed weled Llyfr Mormon? Gwyddom na ddarllenwyd ef ganddo erioed; canys y mae Llyfr Mormon yn sôn mwy am gadwedigaeth babanod nag yw y Bibl. Treied gael gweled Llyfr Mormon yn rhywle, a darllened yn nhud. 557 a 558 o'r ail argraffiad Seisnig, lle y caiff weled fod "plant bychain yn fyw yn Nghrist er cyn seiliad y byd," a'u bod yn "gyfranogion o iachawdwriaeth." Galiem nodi llawer o ymadroddion cadarnach, ond ystyriwn hyna yn ddigon i gywilyddio ein hawdwr, ac i ddangos ei bwysau anghywir etto.

(3.) Ni hòna y Saint fod yr un commisiwn ganddynt hwy ag a dderbyniodd yr apostolion gan Grist, eithr commisiwn newydd a chyffelyb; ond honant eu bod i sefydlu yr eglwys yn yr un dull, ar yr un ammodau, ac y meddiannant yr un awdurdod â'r apostolion. Pe honasem nad yw ein heglwys yn yr un dull, &c., â'r eglwys gyntefig, yna buasem yn ceisio profi ein heglwys yn gau, tra yn hòni ei bod yn groes. Yr ydym yma etto yn gysson â rheswm ac ysgrythyr.

(4.) Dywed fod y Saint yn hòni yr un cymhwysderau i wneyd Beibl â'r apostolion a'r prophwydi santaidd. Gwir iawn; os nad yw Duw a'i Ysbryd wedi cyfnewid, gall ysbrydoli apostolion a phrophwydi i ysgrifenu ychwaneg o ysgrythyrau, canys y mae digon o'u heisieu, yn enwedig ar y sectariaid, o herwydd nad ydynt yn hanner deall y rhai cyntefig.

(5.) Mae yn wir y credwn fod cyfle gan yr ysbrydion yn ngharchar i glywed pregethu yr efengyl, fel y bernir hwy yn ol dynion yn y cnawd; ac y mae hyny wedi ei brofi yn ein traethawd ynghylch "Pregethu i'r Ysbrydion yn Ngharchar, a Bedyddio dros y Meirw." Mae yn rhyfedd na ddarllenai ein hawdwr lyfrau y Saint, yn lle ei fod yn ymddangos mor hurt. Mai dweyd hyna yr un fath â dweyd ein bod yn credu yn nghroeshoeliad Iesu Grist. Darllened yn 1 Pedr iii., 18—20; a iv., 6, a chaiff brawf fod yr athrawiaeth uchod yn ysgrythyrol, ac nas gall neb waeddi "Tecel" uwch ei phen. Oni efengylwyd i'r meirw gan Grist, fel y bernid hwy yn ol dynion yn y cnawd? Pa wahaniaeth yw fod Luther, Calvin, Wesley, Elias o Fôn, Williams o'r Wern, Christmas Evans, &c., yn ddynion da? Nid ydynt yn rhy dda i glywed pregethiad cyflawnder yr efengyl yn myd yr ysbrydoedd, er cael eu dyrchafu i ogoniant mwy gogoneddus.

Gwnaeth y rhai hyny eu goreu tra ar y ddaear, ac y mae yn sicr y cânt eu gwobrwyo am eu llafur, ac y cânt gynnyg ar gyflawnder yr efengyl dragywyddol. Hefyd, y mae gobaith i'r holl annuwiolion sydd heb glywed yr efengyl, i'w chlywed yn eu carchar yn y byd arall, wedi iddynt dalu eu ffyrling eithaf; canys nid oeddynt yn waeth yn y cnawd nag oedd y cynddiluwiaid. Pregethodd Crist i'r rhai hyny, a bedyddiwyd ereill drostynt ar y ddaear. Yr unig rai sydd yn cael aros yn y tân yn oes-oesoedd yw y rhai hyny sydd yn pechu yn anfaddeuol; geill llawer gael eu taflu i'r tân *tragywyddol*, heb fod yn dragywyddol ynddo, os na fyddant wedi pechu yn anfaddeuol. Os na chred rhywun yn y byd arall, efe a gondemnir, a hyny yn gyfiawn. Ni ddylai un ysgrifenydd gymmeryd achlysur i gyhoeddi llyfrau i wrthwynebu unrhyw sect oddiwrth ddywediadau "gwrageddos anwybodus," tra y mae digonedd o lyfrau wedi eu cyhoeddi gan y sect hono. Mae y sawl a wnelo hyny yn dangos anonestrwydd. Yn awr, y mae y rhan fwyaf o lyfr y William Jones hwn wedi ei ateb o'r blaen, fel y gallai weled pe darllenai ein llyfrau.

(6.) "Credant," medd efe etto, "y pery dydd y farn fil o flynyddoedd." Gan bwy hen wraig y clywodd efe hyny, wyddis? Clywsom barchedigion ein gwlad yn dweyd fod pob pechadur fyddo yn marw yn myned i farn uniongyrchol, a bod ei dynghed yn cael ei phenderfynu am bob tragywyddoldeb. Os mai felly y mae, creda y sectariaid fod y farn yn para mwy na dwy fil o flynyddoedd.

(7.) "Credant fod dwy nefoedd," medd Mr. Jones etto, o enau rhyw hen wraig, debygem, "heb son am y nef wybrenol, na'r nef serenol." Yr hyn a greda y Saint yw, fod "llawer o drigfanau" yn nhŷ eu Tad.

(*I'w barhau.*)

---

## DYNION WEDI COLLI'R FFORDD.

Yr wyf yn tosturio yn fawr wrth ddynion *wedi colli'r ffordd*, o herwydd yr wyf wedi bod felly fy hun, ac wedi gweled ereill yn y sefyllfa anffodus hono. Dyn wedi colli'r ffordd, sydd yn agored o golledi ei hun, ac i syrthio mewn perygl o golli ei fywyd hefyd. Gan fod gweled dyn wedi colli'r ffordd mewn ystyr naturiol, yn wrthddrych tosturi a chydymdeimlad, pa faint mwy gweled dyn

*wedi colli'r ffordd* mewn ystyr ysbrydol. Adwaenwn lawer o ddynion ieuainc a godwyd mewn sefyllfaoedd uchel, ac a ddygwyd i fyny dan ddysgeidiaeth y dysgedigion blaenaf, i'r dyben iddynt ddyfod mewn amser dyfodol yn alluog i ddysgu ereill yn ffordd Duw; ac wedi eu *holl* ddysgu, y maent mewn anmheuaeth a ydynt wedi dysgu y *ffordd iawn*, fel y rhai a ddynododd yr Apostol, "sydd yn dysgu bob amser, ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd," am na ddaethant yn ddyscyblion i Grist, fel y cawsent "wybod am y ddysgeidiaeth, pa un ai o Dduw y mae hi," neu o ddynion; cymhwys eu cyfrif gyda y dynion sydd *wedi colli'r ffordd*.

Ereill a ddechreuant eu gyrfa ysbrydol er mwyn cael gafael ar ddiogelwch i'w heneidiau, trwy ymuno â rhyw enwad crefyddol, nid am eu bod yn gweled egwyddorion y cyfryw yn fwy rhesymol ac ysgrythyrol nag eiddo enwadau ereill, ond am mae gyda y cyfryw yr oedd eu hen dadau a'u mamau anwyl wedi byw ac wedi marw, ac ni fynant hwythau grefydd well, serch cael cynnyg arni; ond pan ofynir iddynt a gawsant afael yn y ffordd iawn, dywedant eu bod yn ofni na chawsant. Gyda rhesymoldeb, ynte, dywedaf eu bod yn gyfryw ag sydd *wedi colli'r ffordd*, am na dderbyniasant "berffaith gariad, yr hwn a fwria ymaith *ofn*."

Y mae ereill mewn balchder yn myned at grefydd, gan fwrw eu coelbren yn mhlith y rhai â barchant y "fodrwy aur," a'r "dillad gwychion," fel y gallant gael yr eisteddleoedd uchaf ac anrhydeddusaf yn y synagogau. Ond pan ddaw angeu, arswydant yn aruthr, fel yr euog rai pan yn nesâu o flaen y barnwr. Nis gallant ddweyd fel plant y goleuni, "Ni a wyddom os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef tŷ nid o waith llaw, tragywyddol yn y nefoedd," o herwydd yn nechreu eu gyrfa *collasant y ffordd*.

Hefyd, y mae llawer yn ymofyn am grefydd yn yr un teimladau â'r tad a'r fam dyner a gawsant eu hargyhoeddi fel y canlyn:—John oedd enw eu mab hynaf, yr hwn, ar un diwrnod a gafodd ganiatâd i fyned i rodio i fynwent y llan; a chan ei fod yn blentyn meddylgar, gwnaeth fawr sylw o'r beddau, ac ar ol ei ddychweliad at ei rieni, dywedodd wrthynt gyda thôn alarus, fod "plant bach yn marw." "Beth achosodd i ti feddwl am hyny?" meddai ei dad gyda syndod. "O, y mae beddau

rhai llai nâ mi yn y fynwent yna," meddai'r plentyn; ac yna trodd at ei fam, a dywedodd, "Mam anwyl, y mae mamau yn marw hefyd." "Oes e, 'mhlentyn anwyl i," ebe'r fam gydag ochenaid. "Oes, oes," meddai John bach, "achos mi a welais eu beddau, ac y mae dynion sydd henach a mwy na chwi 'nhad yna hefyd," meddai'r plentyn. "Beth yw dy ddyben yn ddweyd fel hyna?" meddai ei dad wrtho. "O, yr wyf am i chwi gofio y *gallwch chwithau farw*, 'nhad bach," oedd yr ateb. Effeithiodd hyn mor bell ar eu teimladau, nes iddynt ar unwaith i benderfynu myned at grefydd, nid oedd wahaniaeth ganddynt i ble, ond cael myned i'r *society* i rywle; cymmerent eu harwain gan eu cymmydog (yr hwn ni wyddai pa un a oedd ef ar y ffordd iawn ai peidio), at ryw enwad crefyddol, fel y cawsent ryw gysur erbyn marw. A chan na ddarfu iddynt gael eu hargyhoeddi trwy "ffolineb pregethu," ac na chwiliasant am y ffordd sydd yn arwain dyn i afael gwir gysur, ni dderbyniasant gyflawniad o addewid Duw trwy Amos, sef, "Ac efe a dry gysgod angeu yn foreu ddydd;" o herwydd iddynt ar y dechreu *golli'r ffordd*.

Pan fydd clefydau yn y wlad, ac angeu yn tori i lawr ei filoedd, megys yn amser y Cholera, O! fel y gwna dynion ymofyn am grefydd. Ni chymmerant amser i chwilio am grefydd y Testament Newydd; credant nad yw wahaniaeth pa enw, nac i ba le, ond cael enw o grefydd yn rhywle. Ond pan oddiwedda yr ystormydd hwynt, ac y dechreua y gwyntoedd i guro ar eu diddosfan, bydd iddo adfeilio; pryd hyn y gwelant eu bod *wedi colli'r ffordd*, trwy beidio chwilio am y "tŷ sydd wedi ei adeiladu ar y *graig*," sef ar DDADGUDDIAD.

Ereill a ddilynant esboniadau dynion, gan wrthod derbyn y gair megys ag y mae yn yr Iesu; credant mae digon yw ymddibynu ar ddysgeidiaeth y doethion, heb ystyried fod Duw yn myned i "ddyfetha doethineb eu doethion hwynt," a bod "deall eu rhai deallus i ymguddio;" a'i fod ef wedi "dewis rhai gwael" i wneuthur ei waith, ïe, ei ryfeddol waith, a hyny "fel y byddo godidogrwydd y gallu o Dduw, ac nid o ddynion." Gan fod dynion yn dewis y rhai blaenaf, gan ddiystyru y rhai olaf, y maent yn *colli ffordd* y goleuni, gan rodio ffordd y tywyllwch, yr hon sydd yn arwain i ddinystr a cholledigaeth.

Y mae ein byd wedi ei gymmysgu â gwahanol athrawiaethau o eiddo dynion. Y mae dynion wedi gwneuthur rheolau a

threfniadau eu hunain, a'u dyben i ddwyn yr hil ddynol i gymmod â Duw; sefydlasant gymdeithasau, gan eu galw ar eu henwau eu hunain, heb ystyried mae "cynnifer ag a rodiant yn ol y *rheol hon*" (sef rheol Iesu Grist), a fydd gymmeradwy ger bron Duw, ac "nad oes enw arall wedi ei roddi yn mhlith dynion, trwy yr hwn y gall dyn fod yn gadwedig." Pwy ddyn ystyriol na wel yn eglur fod y bobl hyn *wedi colli'r ffordd.*

Yr achos fod cymmaint o bregethu yn groes i'w gilydd, gan y rhai a broffesant eu bod yn weision i Grist, yw, o herwydd eu bod wedi "cymmeryd yr anrhydedd iddynt eu hunain," heb gael eu "*galw* gan Dduw, megys Aaron." Nid ydynt yn derbyn bendithion addawedig Duw, o herwydd y maent *wedi colli'r ffordd.*

Y mae eglwysi, neu gymdeithasau crefyddol, *wedi colli'r ffordd* mor bell "nes y pentyrant iddynt eu hunain athrawon," ac y maent yn ein gwatwar ni, gan "gerdded yn ol eu chwantau annuwiol eu hunain;" gwrthodant y "rheol hon," trwy "ddidoli eu hunain, yn anianol, heb fod yr *Ysbryd* ganddynt," yr hwn oedd gynt yn llefaru wrth yr eglwysi, ac yn cael ei roddi yn *eglur* i bawb: yr oedd yn "dwyn i'r cof y pethau a aethant heibio, ac yn mynegi pethau i ddyfod;" gwadant hwy ef, gan ddweyd, "Nid oes ei eisieu." Y maent yn gyfryw sydd mewn tywyllwch, er fod ganddynt enw o grefydd, neu "rith duwioldeb," eithr "gwadant ei GRYM hi." Nis gallant ddweyd, "Ni fu ein hefengyl ni tuag atom mewn gair *yn unig*, eithr mewn NERTH, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd;" oblegid nid yw yr Arglwydd yn eu plith hwy yn "cadarnhau y gair," nac yn "cyd-dystiolaethu, trwy arwyddion a rhyfeddodau, ac amryw nerthoedd, a doniau yr Ysbryd Glân." Y maent hwy yn cael eu hamddifadu o'r pleserau nefol a nodwyd, o herwydd, yn wir, eu bod *wedi colli'r ffordd.*

Ddarllenydd, a ydwyt yn gwybod dy fod ar y ffordd iawn? A oes rhai o'r un enwad â thi yn gwybod? A elli ddweyd, "Mi a *wn* fod fy Mhrynwr yn fyw," a "phe rhodiaf ar hyd glyn cysgod angeu, nid ofnaf ddim niwed?" Yr oedd y Saint gynt yn derbyn gwybodaeth, fel Saint y Dyddiau Diweddaf, trwy rodio ar hyd yr *un ffordd.* Cofia "bod yr enaid heb *wybodaeth*, nid yw dda." A chofied pawb hefyd, mai peth o bwys yn mhob ystyr, yw COLLI'R FFORDD!

*Tre-Sior.* THOMAS HARRIES.

## Y SAINT A SEION.

TON—"Isle of Mary."

Yn teithio'n mlaen mae'r Saint o hyd,
 Trwy ddyrus fyd o rwystrau,
Yn ol gorchymyn pur eu Tad,
 Nes cyrhaedd gwlad eu breintiau,
Sydd mewn addewid iddynt hwy,
 Myrdd mwy na neb rhyw ddynion;
Mor helaeth yw trugaredd Duw—
 Cânt fyw ar fynydd Seion.

Mae'n wir fod yma rwystrau mawr,
 Bob awr trwy demtasiynau,
Gan ddyn a diafol, ddydd a nos,
 Sy'n groes i'r awdurdodau;
Ond pan ar fynydd Seion draw,
 Gerllaw mae'r amser hyfryd,
Cânt wlad yn llawn o ffrwythau da,
 Heb bla y gelyn gofid.

Cânt fyw dan nawdd cyfiawnder pur,
 Fel mur yn diogelu;
Ni chaiff un gelyn treisiol fyw,
 Bydd Iesu gwiw'n teyrnasu;
A'r wlad yn dwyn ei ffrwythau bras,
 Trwy ras ein Duw yn gysson,
Er rhoi i bawb o'r duwiol blaid
 Eu hanghenrhaid yn Seion.

Mor hardd bydd myrdd ar Seion fryn,
 A gwyn eu byd fydd yno
Yn dysgwyl am (yn llon'd ei swydd)
 Yr Arglwydd pan y delo,
Yn ei ogoniant pur o'r nen,
 Pan ar ei ben bydd coron;
I lywodraethu byth mewn hedd,
 Tragwyddol wledd yn Seion.

Cânt wledd ddanteithiol, hyfryd iawn,
 Yn llawn o basgedigion;
Cyfiawnder megys tònau'r mòr,
 A heddwch Iôr fel afon;
A'r Iesu 'n eistedd wrth y bwrdd,
 Pan cwrdd y gwaredigion,
Telynau'n chwarae clod Duw Ner,
 A phêr ganiadau Seion.

Cyferfydd pawb o'r duwiol hâd,
A difrad bydd y teulu,
Yn rhoddi clod a mawl i Dduw,
A'r Brenin byw, yr Iesu;
Y dewrion batriarchiaid fu,
Prophwydi, apostolion,
A Saint y dydd diweddaf ddaw,
Heb fraw, i gwrdd yn Seion.

T. Jeremiah.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Taliadau o Awst 22 hyd Medi 4.—Sir Fynwy, £2; Sir Gaerfyrddin, £6; Morganwg Orllewinol (gyrwch wybod); Sir Feirionydd, £4; Sir Ddinbych, £1; Sir Benfro, £1; Dinas 4s. ac 8s; Llanilltyd, 1s. 3c.; Pontytypridd, 12s. 7c.; Llanfabon, 18s. 1½c.; Caerdyf, £17s.; Hirwaen, £3 14s. 6c.; Merthyr, £1 10s.; Pendaren, 13s.; Cefn, 11s. 3½c.; Ynysgou, 2s. 1c.; Cyfanswm, £23 11s. 10c.

Cymmanfaoedd.—Cynnelir Cymmanfa Chwarterol Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, yn Merthyr, ar y 5med o Hydref; Sir Fynwy, yn Nhredegar, ar y 12fed; Morganwg Orllewinol, ar y 19eg; Sir Gaerfyrddin, yn Nghaerfyrddin, ar y 26ain; a Sir Aberteifi, ar yr 2il o Dachwedd. Hefyd, cynnelir cymmanfa Sir Frycheiniog, yn Aberhonddu, ar yr 28ain o Fedi.

Llyfr Mormon etto.—Mae yn ddrwg genym nad oes ond 1,223 o dderbynwyr wedi eu derbyn hyd yma. Rhaid i ni oedi hyd nes ceir llawer yn ychwaneg. Mae cangen fach Pontytypridd wedi danfon am 138, yr hyn sydd yn wir ymdrech; a phe gwnelai pob cangen a chynnadledd yn ol y gangen uchod, buasai genym dros 5,000 o dderbynwyr. Frodyr, ymdrechwch etto; mae eich Tad yn holl-gyfoethog, ac efe a rydd arian i chwi.

Gwall.—Yn ein rhifyn olaf, tud. 275 diangodd llinell arnom yn niwedd cân W. Thomas. Darllener, "Yr oll yn siriol ac mewn harddwch," o flaen y llinell ddiweddaf.

☞ Newydd ei gyhoeddi, pris 3s., yn rhwym mewn croen dafad, Y Casgl; neu Grynhoad o Draethodau, Caniadau, a Llythyron, perthynol i Saint y Dyddiau Diweddaf. Mae iddo ddalen enwawl a chynnwysiad, a'r oll yn 278 o dudalenau.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 19.] MEDI 20, 1851. [PRIS 1*g*.

## ADOLYGIAD.

EGWYDDORION SAINT y DYDDIAU DIWEDDAF *yn cael eu pwyso yn Nghlorianau Rhesymau ac Ysgrythyrau.* Gan WILLIAM JONES, Bethesda.

[*Parhad o dud.* 287.]

(8.) "CREDANT, ar ol iddynt fyned i California," medd efe etto, "y daw Iesu Grist i'w cyfarfod, ac y cant deyrnasu gydag ef am fil a flynyddoedd, pryd y dinystrir pawb ereill." Dichon i William Jones ddarllen hyn, canys y mae y rhan fwyaf yn wirionedd. Gorchymynir i Seion ddyrchafu i fynydd uchel, ac adeiladu dinas a thŷ i Dduw; a phan ddel Iesu Grist ar gymylau y nef, bydd i'r rhai byw a marw yn Nghrist gael eu cipio i fyny, i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr; a ni a deyrnaswn gydag ef fil o flynyddoedd. (Gwel Esay xl, 9; 1 Thes. iv, 17; Dad. xx, 4, 6.) Mewn perthynas i ddinystr ereill, credwn y daw "yr Arglwydd Iesu o'r nef, gydai'i angylion nerthol, â thân fflamllyd, gan roddi dial i'r sawl nid *adwaenant* Dduw [sef y rhai ni chredant mewn dadguddiadau y pryd hyny], ac nid ydynt yn ufyddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist, "nid fel ei phregethir gan sectau yr oes, a'n tadau," eithr fel ei phregethwyd ganddo ef ei hun a'i apostolion, neu fel ei phregethir gan Saint y Dyddiau Diweddaf. (Gwel 2 Thes. i, 7, 8.) Dinystrir pawb na fyddant yn adnabod Duw, ac a fethant ddywedyd trwy yr Yspryd Glân mai Crist yw yr Arglwydd, yr hyn yw dadguddiad. Saint yw enwau y rhai hyny y daw efe i'w ogoneddu ynddynt, ac nid neb a alwant eu hunain ar enwau dynion.

"Ni wnaf sylw ar dwyll Llyfr Mormon," medd efe yn mhellach; na wna, gobeithiwn, cyn y bydd iddo ei ddarllen. Fe ŵyr ein hawdwr gymmaint am Goran Mahomed, ag a ŵyr am Lyfr Mormon, a chymmaint am y ddau ag a ŵyr am "lynclyn difancoll."

Yn awr, cawn fyned yn mhellach yn mlaen i lyfr ein hawdwr, a dyfynu yr hyn a ddyweda yn nhud. 10:—"Golygai duwinyddion lywodraeth gyffredinol Duw dros ein byd ni yn dair rhan, sef o gwymp Adda hyd Ioan Fedyddiwr, y Tad oedd yn llywodraethu; o Ioan Fedyddiwr hyd ddydd y Pentecost, y Mab oedd yn llywodraethu, ac o ddydd y Pentecost hyd ddiwedd y byd, llywodraetha yr Yspryd Glân. * * * Yn yr oruchwyliaeth Foesenaidd, yr oedd Duw yn llefaru ar y ddaear trwy ei angylion; yn ngoruchwyliaeth Ioan Fedyddiwr, yr oedd Duw yn llefaru ar y ddaear mewn cnawd; ond yn yr oruchwyliaeth bresennol, y mae Duw yn llefaru ar y ddaear trwy ei Yspryd; ac y mae gweinidogaeth yr Ysbryd yn cael ei galw yn ddyddiau diweddaf," (gan gyfeirio at Act. ii, 17, 18). Mae yn well genym ni i gredu fod y Tad, y Mab a'r Yspryd yn llywodraethu o'r dechreu i'r diwedd, na chredu fel y dywed y duwinyddion. Mae Duw wedi llefaru trwy ei *Ysbryd* cyn Ioan Fedyddiwr, ac hefyd wedi llefaru trwy ei *angylion* ar ei ol; yr hyn sydd yn dangos ffolineb y duwinyddion.

Yn y dyfyniad blaenorol, dyweda ein hawdwr fod gweinidogaeth yr Ysbryd yn cael ei galw yn ddyddiau diweddaf; ac yna adrodda yr adnodau canlynol:—"Eithr hyn yw y peth a ddywedwyd trwy y prophwyd Joel. A bydd yn y dyddiau diweddaf, medd Duw, y tywalltaf o'm Hysbryd ar bob cnawd, a'ch meibion chwi a'ch merched a brophwydant, a'ch gwyr ieuainc a welant weledigaethau, a'ch henafgwyr a freuddwydiant freuddwydion; ar fy ngweision, ac ar fy llaw-forwynion y tywalltaf o'm Hysbryd yn y dyddiau hyny, a hwy a brophwydant." Yma gofyna, "Pa un ai ar ddydd y Pentecost, er ys 1800, ai yn amser Joseph Smith, er ys 23 mlynedd yn ol, y dechreuodd goruchwyliaeth y dyddiau diweddaf?" Mae yn rhwydd iawn i wybod pa ddyddiau yw y dyddiau diweddaf; y *diweddaf* ydynt, ac nid y lleill. Mae y dyddiau hyn yn nes o fod yn ddyddiau diweddaf na dydd y Pentecost. Pan y llefarodd Duw am y dyddiau diweddaf, yr oedd yn gwybod pa rai oeddynt; a dywedodd y buasai efe yn y dyddiau iweddaf yn tywallt ei Ysbryd ar *bob cnawd*, yr hyn ni chymmerodd le ar

ddydd y Pentecost, nac ar un dydd arall oddiar hyny. Pwy ar y dydd hwnw a brophwydasant, neu a welsant weledigaethau, neu freuddwydio breuddwydion? Ië, gadewch i ni ddarllen y ddwy adnod ddilynol, y rhai ydynt fel hyn:—"A mi a roddaf ryfeddodau yn y nef uchod, ac arwyddion ar y ddaear isod; gwaed, a thân, a tharth mwg. Yr haul a droir yn dywyllwch, a'r lloer yn waed, cyn i ddydd mawr ac eglur yr Arglwydd ddyfod." Ai tybied i'r holl bethau hyn ddygwydd ar ddydd y Pentecost, neu ar y dyddiau dilynol? Naddo erioed. Yr hyn a ddygwyddodd yn y dyddiau hyny oedd tywalltiad o "flaenffrwyth yr Ysbryd" hwnw a brophwydodd Joel yn ei gylch, yr hwn yn y dyddiau diweddaf a dywelltir ar bob cnawd. Pan gyflawnir geiriau Joel, ceir gweled y blaidd a'r oen yn trigo ynghyd, canys fe fydd Ysbryd Duw wedi ei dywallt ar *bob* cnawd. Yr hyn a ddywedai Pedr ar y Pentecost oedd, mai "Hyn yw y *peth* a ddywedwyd trwy y prophwyd Joel," sef yr Ysbryd ag oedd i gael ei dywallt ar bob cnawd yn y dyddiau diweddaf, ac a roddid yn flaenffrwyth iddynt hwy y pryd hyny. Nid cabledd a rhyfyg, gan hyny, yw dweyd mai yn nyddiau Joseph Smith, neu y dyddiau diweddaf, y cyflawnir prophwydoliaeth Joel. Pan fyddo Duw yn llefaru am ddyddiau diweddaf, gallwn fod yn sicr ei fod yn gwybod mai y rhai olaf ydynt, ac nid rhyw rai blaenorol iddynt. Mae yn eglur fod ein hawdwr wedi pwyso hyn etto â phwysau anghywir.

Etto, yn nhud. 11, "Dywed y Mormoniaid," medd efe, "mai Joseph Smith oedd y cyntaf o Saint y dyddiau diweddaf, ac nad oes neb felly ond ei olynwyr. Mi gredaf finnau St. Pedr, fod y 3000 a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar ar ddydd y Pentecost, yn saint y dyddiau diweddaf." Os felly, rhaid i ni gredu mai Saint y Dyddiau Diweddaf oedd y credinwyr ar ddydd y Pentecost, ac mai Saint y dyddiau gynt yw canlynwyr Joseph Smith. Hawdd y prophwydodd Paul am y dynion a fuasent yn ymadael oddiwrth y ffydd yn y dyddiau diweddaf, pan yr oedd y dyddiau hyny yn ei amser ef!

Yn yr un dudalen, dangosa ein hawdwr, "y mawr ynfydrwydd o ddweyd fod yr efengyl a'r eglwys wedi eu cymmeryd oddiar y ddaear!" "O feddwl ofnadwy," medd efe; "ar ol i Dduw graslawn roddi ei Fab i farw dros bechaduriaid,—iddo adael y byd tros yr hwn y bu ei Fab yn dyoddef ing a loesion drosto ar

y groes, mewn dallineb, anobaith, a thrueni, heb obaith ganddynt ac heb Dduw yn y byd, 600 o flynyddoedd.' Dyna fel y bu braidd, yn ol credo sectariaid y wlad. Oni wyddant hwy mai Pabyddiaeth oedd yn gordoi y byd Cristionogol yn ystod y rhan fwyaf o'r amser uchod. Y mae Duw wedi caniatâu i fam puteiniaid y ddaear i ddiwallu y byd â chrefydd am ganrifoedd; ac yn bresennol y mae yn rhoddi yr un caniatad i'w merched, neu y rhai a ddeilliasant o honi. Ond os na fu crefydd Crist ar y ddaear yn yr amser uchod, ar bwy oedd y bai? sicr ydym nad ar Dduw, eithr ar ddynion. A phe caniataem fod gwir grefydd yn y byd yr amser hyny, ni ofalodd Duw ddim ond megys am ddyrnaid bach o'i greaduriaid, er fod "trefn wedi ei phwrcasu," a "ffynnon wedi ei hagor." Mae Duw yn drugarog a chyfiawn, ac y mae wedi trefnu cynllun i bregethu yr efengyl i bob creadur, pa un bynag ai yn y byd hwn neu yn y byd arall, ai yn yr oes hon neu ryw oes arall. Na phwyswch mor annheg, Mr. Jones.

Mae yn wir fod yr oruchwyliaeth gristionogol i sefyll ei thir, ac i Iesu Grist ddywedyd, "Ar y graig hon yr adeiladaf fy Eglwys, a phyrth uffern nis gorchfygant hi." Y graig hono yw dadguddiad, ac nid yr hyn a effeithir drwy gig a gwaed, neu wybodaeth ddynol. Nid oes neb yn faen teilwng i'w osod yn adeilad yr Eglwys, os na ŵyr trwy yr Ysbryd mai Crist yw yr Arglwydd. Nid oedd fod yr Eglwys neu'r wraig yn ehedeg i'r diffaethwch rhag y ddraig, yn un prawf ei bod wedi ei gorchfygu; canys yr oedd yr eglwys yn cael ei "maethu yno dros amser ac amseroedd, ac hanner amser, oddiwrth wyneb y sarff." (Gwel Dad. xii, 14.) Yr oedd yn rhaid dyfod "*ymadawiad* yn gyntaf," cyn y gallai yr Eglwys ymgyfarfod ag Iesu Grist (2 Thes. ii, 1—3); ond ni chafodd ei gorchfygu gan y sarff neu byrth uffern, gan iddi gael "dwy o adenydd eryr mawr, fel yr ehedai hi i'r diffaethwch i'w lle ei hun." Os dinystriwyd cyrff yr apostolion ac ereill, ni ddinystriwyd yr eglwys mewn un modd: os nad oedd i'w gweled ar y ddaear am dymmor, etto yr oedd yn fyw yn rhywle, ac y mae yn rhesymol meddwl bod ei hefengyl yn cael ei phregethu hefyd, er nad yn mysg y rhai oeddynt wedi ei gwrthod. Pwyswch yn gywirach, gyfaill.

Yn nesaf, yn nhud. 12, dywed ein hawdwr fod y Mormoniaid yn honi "bod rhai o honynt yn apostolion, rhai yn brophwydi,

rhai yn athrawon, a bod i rai o honynt ddawn i iachâu, i arall ddawn i lefaru â thafodau dyeithr, i arall ddawn i gyfieithu, ac i arall wneuthur gwyrthiau." Yna ymdrecha brofi trwy oleuni rheswm a dadguddiad ysgrythyrol, nad yw y rhai a alwant eu hunain yn apostolion y dyddiau diweddaf yn llenwi nodwediad apostol, o herwydd nad oes neb a all ddweyd ei fod wedi derbyn ei olwg ganddynt. Yr ydym yn dymuno ar ein hawdwr i ddarllen gwahanol gyhoeddiadau y Saint, er iddo gael cyfle i wybod pa beth sydd yn cael ei wneuthur gan y Saint. Nid gwiw i ni geisio profi dwyfoldeb ein crefydd trwy gyfeirio at ein gwyrthiau, canys dyna y dull a gymmera y gau-brophwydi, pan yn tynu tân o'r nefoedd er profi eu dwyfoldeb. Os dywed ein hawdwr fod llawer o esgusion gan y Mormoniaid i beidio gwneyd gwyrthiau, yr oedd rhai hefyd gan hyd y nod Iesu Grist; canys ni wnaeth efe nemawr o weithredoedd nerthol mewn un man, oblegid eu hanghrediniaeth hwynt (Math. xiii, 58): gallem nodi *llawer* o esgusion pe buasai anghen. "Un rheswm sydd ganddynt ydyw," medd efe, "nas gallant i foddloni dynion; yn 2ail, nas gallant heb ffydd yn y sawl a ofyna; yn 3ydd, nas gallant heb i'r sawl y gweithredir y wyrth arno fod yn credu." Yn awr gofynwn, os boddlonodd Crist ddynion pan ar y groes, neu os bwriodd efe y cythraul mud a byddar o'r bachgenyn heb ffydd neu gred yn ei dad (Marc ix, 23, 24)? Darllener hefyd yn ateb, Math. viii, 5—13; ix, 2; xv, 28; xvii, 14—21; heblaw ugeiniau o leoedd ereill a allem nodi. "Nid oedd Crist," medd efe etto, "wedi son am feddwl llywodraethwyr y wledd cyn troi y dwr yn win, ond fe wnaeth heb i'r llywodraethwr wybod." Yr oedd mam Crist a'r gwasanaethwyr yn ffyddiog, a chyflawnwyd y wyrth o herwydd eu ffydd hwy. "Beth bynag a ddywedo efe wrthych, gwnewch,' meddai ei fam, yr hyn a ddengys ei bod yn lled ffyddiog ynghylch cael rhagor o win. "Hefyd," medd ein hawdwr, "fe wnaeth Crist wyrth i foddloni estroniaid, ïe, ei elynion.—St. Mathew xvii, 26, 27.' Darllened Mr. Jones yr adnodau hyn etto. Pwy welodd y wyrth hon, heblaw Pedr? Y darn arian oedd i foddloni yr estroniaid, ac nid yr olygfa ar Pedr yn pysgota, ac yn agor bol y pysgodyn. Gwyrth ddirgel oedd hono, ac yn cael ei chyflawni efallai o herwydd fod yr arian yn brin.

Yn y dudalen ddilynol (sef 13) dywed, "Mae yn rhesymol gofyn am y profion sydd ganddynt o'u hawdurdod, er mwyn cael

safon eu hathrawiaethau yn unol â gwirionedd yr ysgrythyrau, os ydyw felly." Os na eill y Saint roddi profion gwyrthiol, yna nid yw eu hathrawiaethau yn unol â gwirionedd yr Ysgrythyrau, serch fod athrawiaethau sectariaid yr oes yn ddigon unol heb roddi un prawf yn y byd. O anghyssondeb a dallineb! Ni wnaeth Crist wyrthiau i foddloni neb yn y peth hwn, canys nid ydyw gwyrthiau yn brofion i brofi gwirionedd. Ysbryd Duw sydd yn profi gwirionedd. "Os ewyllysia neb," meddai Iesu Grist, wneuthur er ewyllys Ef, efe a gaiff wybod am y *ddysgeidiaeth*, pa un ai o Dduw y mae hi, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru." Yn awr, mae y dynion sydd yn ymofyn am wyrthiau, os ydynt wedi darllen hyna, yn ymddwyn yn ffol, ac yn teilyngu cael eu galw yn genedlaeth ddrwg a godinebus; ac yn wir, arwydd nis rhoddir iddynt, serch ceisio am eu hoes, oddieithr arwydd y gau-brophwydi.

Yn ngwaelod yr un tudalen, a dechreu y llall, crybwylla ein hawdwr am Grist yn cyfodi merch Jairus, bwrw y cythraul allan o'r bachgenyn, ac iachâu gwr cloff y deml, fel gweithredoedd yn cael eu gwneuthur heb ffydd, ac heb neb yn gofyn am danynt. Nid yw ein cyfaill yn treio deall ei Feibl. Onid oedd ffydd gan Jairus? ac oni orchymynodd Iesu iddo, "Cred yn unig?" (Gwel Marc v, 35—43.) Ynghylch y bachgenyn, dywedai yr Iesu wrth ei dad, "Os gelli di gredu, pob peth a all fod i'r neb a gredo" (Marc ix, 23); ac wedi iddo gredu, bwriwyd y cythraul allan. Yr achos na allai yr apostolion ei fwrw allan oedd, oblegid eu hang-hrediniaeth (Math. xvii, 20). Ac mewn perthynas i ddyn cloff y deml, gwell darllen ein traethodyn dimai, sef "Profwch bob peth." Yr ydym yno yn profi fod y ddawn o dderbyn iechyd yn medd-iant y cloff, ac mai trwy hono y derbyniodd y fendith. Mae yn ormod gwaith i ni ateb yr un peth amrywiol o weithiau.

Mr. Jones sydd yn dweyd fod gwyrthiau Crist a'r apostolion yn gyhoeddus, a'u bod trwyddynt yn profi eu dwyfol anfoniad. Mae yr Iuddewon yn adrodd stori arall; cafodd Crist a'r apos-tolion eu lladd ganddynt hwy o herwydd eu twyll. Os yw y Testament Newydd yn tystiolaethu am eu gwyrthiau, y mae nifer fawr o lyfrau ereill yn mysg yr Iuddewon yn eu gwadu. Ymresymant i Grist gael cynnyg i wneyd gwyrth ar y groes, ond na allai eu gwneuthur. Nid ydym ni mewn un modd yn ammau gwythiau Crist a'i apostolion; eithr am ddangos ydym

mad oedd cymmaint yn credu ynddynt y pryd hyny ag sydd yn credu ynddynt yn awr. Pe deuai Crist i'r ddaear yn yr oes hon, a chyflawni yr un gweithredoedd a chynt, gan addaw Ysbryd y dadguddiad i bawb, credwn y cawsai gynddrwg triniaeth ag a gafodd gynt, ac hyny gan y parchedigion a'r duwiolion penaf. Mae pob oes o'r byd yn dueddol i anghredu gweithredoedd Duw yn eu hamser hwy. Yn awr, y mae ymddygiad y byd yn yr oes hon, ynghylch gwyrthiau, yr un fath ag oedd yn amser Iesu Grist. Yn yr amser gynt, dywedid y ddiareb hon, "Y meddyg, iachâ dy hun: y pethau a glywsom ni eu gwneuthur yn Capernaum, gwna yma hefyd yn dy wlad dy hun." Yn gyffelyb y dyweda ein hawdwr, yn nhud. 15, yn yr oes hon; sef, "Yn awr, gofynaf yn mha le y gwnaeth y rhai a alwant eu hunain yn saint y dyddiau diweddaf arwydd mor amlwg nas gellir ei wadu, neu y gellir ei gredu: dywedir ar hyd yr ardal hon fod gwyrth nodedig wedi ei chyflawni yn Machynlleth; dywedant yno mai yn Nghaerfyrddin y dygwyddodd y peth, ac yn Nghaerfyrddin dywedant mai yn Merthyr-Tydfil y cafodd dyn dall ei olwg; dywedant yno drachefn iddynt glywed ddarfod i un o'r apostolion ostegu y dymestl ar y fordaith i California.' Onid yw y ddwy iaith yn tebygoli? Dymuna y ddwy blaid fod yn llygad-dystion eu hunain, ac yna fe gredant. Rhai fyddo yn ymddibynu fel hyn ar weled arwyddion, fydd yn cael eu twyllo gan y gau-brophwydi a'r gau-athrawon, pan y deuant i wneuthur arwyddion mawrion a rhyfeddodau, hyd nes y twyllant, pe byddai bosibl, ie, yr etholedigion. Mae yn ddiau fod llawer o enghreifftiau o ddynion yn credu yn amser Crist, ac hefyd yn yr oes hon, trwy weled gallu Duw, eithr nid y rhai hyny yw y dynion sydd yn ceisio arwyddion. Dynion ydynt, fynychaf, a ddeuent i gredu yn y ffordd reolaidd, sef trwy bregethu.

Yn nhud. 15 a 16, y mae ein hawdwr yn rhoi ar ddeall fod y Mormoniaid yn credu "nas gall eglwys i Dduw fodoli heb ddeuddeg Apostol mewn cyssylltiad â hi." Hwyrach y gall eglwys fodoli, dan rai amgylchiadau, heb gael deuddeg o apostolion; eithr ymddengys fod ddeuddeg yn fwy rheolaidd na llai na hyny; a meddyliwn hefyd y gall eglwys fodoli hefyd, ag ynddi fwy na deuddeg. Ond nis gall eglwys fodoli heb apostolion. Dywed Mr. Jones fod Mathias wedi ei ddewis yn lle Judas; a rhydd ar ddeall na chafodd neb apostolion ereill eu

hordeinio. "Bernir," medd efe hefyd, "i'r cyfan gyfarfod ag angeu, ond yr apostol Ioan; ond nid oes genym hanes am i ddeuddeg o apostolion ereill gael eu hordeinio yn eu lle. Os oes gan saint y dyddiau diweddaf hanes am hyny, dymunem gael gwybod pwy oeddynt wrth eu henwau;—a chyn y bydd eu tystiolaeth yn safadwy, rhaid ei chael o lyfr Duw, ac nid o Lyfr Mormon." Y mae ein hawdwr yn awr, nid yn unig yn dangos ei anwybodaeth yn Llyfr Mormon, ond hefyd yn llyfr Duw. Ai ni ŵyr efe am yr apostolion Barnabas a Phaul (Act. xiv, 14), ac am "Andronicus a Junia, y rhai sydd yn hynod yn mhlith yr apostolion" (Rhuf. xvi, 7)? Darllener etto a ganlyn:—"A'i weled ef gan *Cephas*, yna gan y *deuddeg*. Wedi hyny y gwelwyd ef gan fwy na phum cant brodyr ar unwaith: o'r rhai y mae y rhan fwyaf yn aros hyd yr awrhon; eithr rhai a hunasant. Wedi hyny y gwelwyd ef gan Iago, yna gan yr *holl apostolion*. Ac yn ddiweddaf oll y gwelwyd ef genyf *finnau* hefyd, megys gan un annhymig" (1 Cor. xv, 5—9). Gwelir wrth hyn mai nid dim ond deuddeg apostol oedd, ond fod cryn lawer o honynt. Ai tybied fod y dystiolaeth yna yn ddigon safadwy? mae rhagor o brofion i gael os oes eisieu. "Barn duwinyddion [penweiniaid] yr oesoedd yw na ordeiniwyd ond deuddeg apostol." Nid dyna farn yr ysgrythyrau, na Llyfr Mormon. "Apostol oedd un," medd ein hawdwr, "a welsai yr Arglwydd Iesu yn y cnawd, ac ydoedd dyst o'i adgyfodiad ef." Etto, "Mae ymadrodd St. Paul yn profi nas gallasai fod yn apostol, pe nas gwelsai Grist yn y *cnawd*; a phe buasai iddo aros ychydig buasai yn rhy ddiweddar arno." Yn awr, ni welodd Paul Grist cyn ei adgyfodiad, ac ni allai fod yn dyst o'i adgyfodiad; er hyny yr oedd Paul yn apostol. Yr hyn a ddealla y sectariaid wrth weled "Crist yn y cnawd," oedd ei weled cyn ei groeshoeliad, yr hyn ni welodd Paul; eithr fe welodd Paul ef yn ei gnawd adgyfodedig, ac fe allai apostolion yn yr oes hon ei weled felly hefyd; a pha fodd y gŵyr Mr. Jones nad yw apostolion y dyddiau diweddaf wedi ei weled hefyd. Pa faint gwell oedd neb o weled Iesu Grist cyn ei groeshoeliad, er bod yn dyst? nis gallent ddywedyd, er hyny, mai Crist oedd mab y Duw byw, heb gael dadguddiad o'r nefoedd. Yr oedd Paul, serch na welodd Grist cyn adgyfodi, yn gymmaint o dyst o hono â hwythau; canys ni welodd neb o honynt ef yn adgyfodi mwy nâ Phaul; a gall apostolion yn yr

oes hon, trwy ddadguddiad, fod yn gystal tystion o hyny â neb o'r apostolion gynt.

Yn mhellach ar y pen uchod, dyweda ein hawdwr, yn nhud. 17, "Oni ddewisais i chwi y deuddeg, ac y caent eistedd ar ddeuddeg gorsedd, yn barnu deuddeg llwyth Israel. Gwelodd St. Ioan, yn y Dadguddiad, y Jerusalem Newydd yn disgyn o'r nef oddiwrth Dduw; ac yr oedd mur y ddinas a ddeuddeg sylfaen iddi, ac ynddynt enwau deuddeg Apostol yr Oen. Oddiwrth hyn, ymddengys tuhwnt i ddadl, nad ordeiniwyd ond un oes apostolaidd." Oni fu gan yr Oen ddeuddeg apostol yn dechreu adeiladu ei eglwys? Nis gwelwn ni fod un anmhriodoldeb mewn bod enwau y deuddeg apostol hyny yn cael eu gosod yn y deuddeg sylfaen. Ond a oedd Paul a Barnabas, &c., ddim yn apostolion, o herwydd na fydd eu henwau yn y sylfaeni hyny? Oeddynt, medd pawb. Wel, os oeddynt hwy, oni eill rhai ereill fod yn yr oes hon hefyd? Yn wir, pa fodd y perffeithir y saint, heb apostolion a phrophwydi? Dywedir yn Eph. iv, 11—13, "Ac efe a roddes rai yn *apostolion*, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon; i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, ac i adeilad corff Crist; hyd oni ymgyfarfyddom *oll* yn *undeb ffydd*, a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist." Wrth hyn gwelir nas gall eglwys fodoli heb apostolion, canys mae yn rhaid eu cael er perffeithio y saint, at waith y weinidogaeth, ac at adeilad corff Crist; ac hyny hyd nes yr ymgyfarfyddom oll yn undeb y ffydd, neu hyd nes y gorphenir adeiladu yr eglwys. Ni thynir yr ysgaffaldau oddiwrth yr adeilad, nes y byddo wedi ei orphen; ac ni thynir apostolion, prophwydi, &c., o'r eglwys, hyd nes y gorphenir ei hadeiladu. Os yw Iesu Grist i fod gyda ei eglwys hyd ddiwedd y byd, ac i barhau yn Ben-saer iddi, mae yn ddiau y cadwa yr apostolion a'r prophwydi mewn gwaith, hyd nes y cwblhao ei amcan, sef gorphen adeiladu corff Crist. Yr apostolion ydynt ben yr eglwys neu'r wraig ar y ddaear, a Christ yw y Priodfab, yr hwn a fydd yn ben arall, yn yr un ystyr ag y mae gwr yn ben i'w wraig. Nis gall corff Crist byth fodoli heb ben, os gallai heb draed. Pen oedd yr aelod cyntaf a osododd Duw yn y corff, canys yr oedd yn un o'r aelodau mwyaf anghenrheidiol er arwain y corff. Darllener ein traethawd ar Gorff Crist, neu'r Eglwys, a cheir gweled llawer o resymau ychwanegol dros bar-

had apostolion yn yr eglwys, a'r anghenrheidrwydd o honynt i gwblhau yr adeilad.

Nid ydym yn gweled dim yn nhud. 18 a 19 yn teilyngu sylw, gan fod y cyfan yn ddim amgen na thybiaeth yr ysgrifenydd; ond yn nhud. 20, dyfyna ein hawdwr amryw o adnodau sydd yn chwilfriwio ei holl adeilad; y rhai ydynt:—"Canys efe a ddaw eto yr ail waith yn holl fawredd a gogoniant ei Dad, gan roddi dial i'r sawl nad *adwaenant* Dduw, ac nid ydynt yn ufyddhau i'r efengyl." "Ni fernais i mi wybod dim yn eich plith, ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio. A phwy bynag a gymmer arno bregethu efengyl *amgen* na hon, bydded anathema maranatha." "Pregetha y gair yn daer mewn amser, ac allan o amser; canys daw yr amser pryd na ddyoddefant athrawiaeth iachus, eithr yn ol eu chwantau eu hunain y pentyrant iddynt eu hunain athrawon, gan fod eu clustiau yn merwino; ac oddiwrth y gwirionedd y troant ymaith eu clustiau, ac at chwedlau y troant." Yn awr, gofynwn, pwy sydd yn proffesu *adnabod* Duw? Nid y rhai hyny sydd yn gwadu dadguddiad. A phwy ond y Saint sydd yn pregethu yr un efengyl â Phaul, trwy annog dynion i geisio y doniau goreu, a pheidio gwahardd llefaru â thafodau, a dirmygu prophwydoliaethau? A phwy sydd yn methu dyoddef yr hyn a bregethai yr apostolion gynt yn cael ei bregethu yn yr oes hon? Sectariaid y wlad: hwynthwy sydd yn beiddio erlid y Saint am bregethu pob peth fel yr apostolion; ac hwynthwy hefyd sydd yn pentyru athrawon iddynt eu hunain, megys y profwn yn ein traethawd ar "Athrawiaeth Iachus." Mae yr adnodau uchod mor eglur yn llefaru dros y Mormoniaid, fel nad oes achos dweyd gair yn mhellach.

Ar ddiwedd yr 20fed tud., dyweda Mr. Jones, "O'm rhan fy hun, coeliwn Mahomet cyn gynted â Joseph Smith, a'r Coran can gynted a Llyfr Mormon; a byddai llawn can hawsed genyf roddi coel i haeriadau ynfyd a gwallgof Joana Southcot, neu i ryw rai o'r twyllwyr crefyddol a godasant *o'i flaen*, neu ar *ei ol*, ag a fyddai genyf i'r eiddo yntau." Dyna wirionedd, canys ni ŵyr ein hawdwr ddim yngbylch un o honynt. Desgrifia Joana Southcot fel yn wrryw, druan; ac ychydig yn nes yn mlaen, dangosa ychwaneg o'i anwybodaeth, drwy son am "Ddyffryn *Glyn* Halen."

Yn nhud. 21, ceisia ein hawdwr brofi nad oedd Joseph Smith yn brophwyd. "Dywedant," medd efe, "mai efe (J.S.) oedd

haul y cyfiawnder." O, hurtwch y dyn, pan yn gwrandaw ar wrageddos o hyd, yn lle darllen ein llyfrau: dangosed hyny mewn rhyw lyfr os gall. Os yw am weled prophwydoliaethau Joseph Smith, darllened "Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau," newydd ei gyhoeddi i'r Gymraeg, a chaiff weled pa faint sydd wedi eu cyflawni. Byddai yn fuddiol iddo hefyd ddarllen mwy ar ei Feibl, yn lle ei fod yn dweyd pethau tebyg i'r hyn a ddywed yn nhud. 22, sef "y bydd *pawb* yn cael eu cipio i'r awyr i gyfarfod" ag Iesu Grist. Y meirw a'r byw yn Nghrist fydd i'w gyfarfod ef, ac nid pawb, onide byddent *oll* yn "wastadol gyda'r Arglwydd."

Mewn perthynas i ddyfodiad Crist i'w deml ar y ddaear, nid oes dim yn fwy rhesymol ac ysgrythyrol. Yn gymmaint â bod Ioan, yn y Dadguddiad, yn profi y teyrnasa Crist ar y ddaear am fil o flynyddoedd, yna paham nad all fyned i'w deml? Nid oes lle nac amser genym yn awr i nodi ysgrythyrau; a chan hyny, gadawn y darllenydd i chwilio drosto ei hun, tra fyddwn ninnau yn brysio i derfynu.

Yn awr, gadawn "Egwyddorion Saint y Dyddiau Diweddaf" yn nghlorianau rheswm ac ysgrythyrau, gan hyderu na wna neb waeddi "Tecel," hyd nes yr edrycho y pwysau. Mae ein hawdwr hwn, ar y cyfan, wedi ymdrechu yn well na llawer; ond gobeithiwn y darllena ychydig yn fwy cyn yr anturia ysgrifenu traethawd arall. Gan ei fod ef wedi canu ychydig wrth derfynu, cawn ninnau wneuthur yr un modd, gan hyderu y bydd er daioni.

Aed Mormoniaeth ar ei chynnydd,
Llwydda'n hynod trwy y byd;
Doed sectariaid i'r goleuni,
Cyn y twyller hwynt i gyd;
Daw'r gau-brophwyd, &c.,
Idd eu maglu yn y man.

Cyn bo hir rhoir y freniniaeth,
Nid i'r sectau, ond i'r Saint;
Ca'r rhai anwir eu dinystrio,
A'r rhai geirwir bob rhyw fraint.
Doed yr amser, &c.,
Pan y gwelir Saint yn ben.

## 'ANGHYSSONDERAU YR ATHRAWIAETH A CHYFAMMODAU A LLYFR MORMON,' &c., ETTO.

Mr. Gol.,—Da genyf weled eich parodrwydd i gyfranu ychydig o oleuni, o'ch prinder, i'r morwynion ffol sydd heb olew yn eu lampau, ynghyd â phawb yn gyffredinol sydd mewn angben, wrth gwrs. Nis gwn pa nifer sydd wedi eu goleuo genych, ond gwn fod pob un ag wyf fi wedi glywed etto yn siarad ynghylch eich atebiad, yn rhyfeddu yn fawr wrth weled atebiad mor wael wedi ei roddi genych; ond rhaid boddloni, a dylem eich caru, gan eich bod wedi gwneyd eich goreu. Nis gall neb wneyd ychwaneg na'i oreu. Yr wyf yn teimlo yn awyddus, er hyny, i'ch hysbysu nad wyf yn cydweled â chwi yn eich golygiadau yn gwbl. Dywedasoch nas gallasai neb wadu ond y sawl fu yn gwybod. Ond gwell genyf fi gredu yr hyn a ddywed Thomas Harries, yn yr Udgorn, tud. 290. "Gwadant hwy (y sectariaid) ef (sef yr Ysbryd), trwy ddweyd 'Nid oes ei eisieu.'" Pa faint y mae yr eglwysi hyn yn wybod am Ysbryd Duw, wyddis? Dywedodd Paul hefyd y bydd rhyw ddynion yn y dyddiau diweddaf â "rhith duwioldeb ganddynt, eithr wedi gwadu ei grym hi;" ac y mae y Saint yn dweyd mai y sectariaid yw y dynion hyny; a'r modd y maent yn profi fod y sectau yn gwadu grym duwioldeb yw, o herwydd eu bod yn dweyd nad oes eisieu y doniau ysbrydol yn awr. Dyna ddigon, feddyliwn i, i brofi y gall dynion wadu yr Ysbryd Glân, heb ei dderbyn ef eu hunain, yn ol geiriau Paul.

Yn nesaf, dywedasoch fod Job i ddychwelyd o'i fedd, er iddo ddweyd, "Mi a rodiaf lwybr ar hyd yr hwn ni ddychwelaf." Dywedaf finnau fod yn rhaid iddo ddychwelyd ar hyd rhyw lwybr arall pan ddaw, onite fe fydd mor gelwyddog â phe buasai yn dychwelyd yr un dydd ag yr aeth. Crybwyllir yn 1 Bren. xiii, am ryw ddyn wedi ei orchymyn trwy air yr Arglwydd, i beidio dychwelyd o Bethel ar hyd y ffordd yr aeth; ond ni ddaeth i feddwl y gwr nas gallasai ddychwelyd ryw ffordd arall: ac felly mewn perthynas i Job. Nis gellir casglu yn deg oddiwrth y geiriau, "Mi a rodiaf lwybr ar hyd yr hwn ni ddychwelaf," nad oedd efe yn meddwl dychwelyd byth, ond yn unig nad oedd i ddyfod ar hyd yr un llwybr ag yr aeth. Dywedasoch hefyd, y gellir dychwelyd o'r lle y mae Llyfr Mormon yn dweyd

yn bendant nad oes dychweliad, o herwydd nad oedd y Llyfr yn dweyd "byth," neu "yn oes oesoedd," &c. Dywedaf finnau, os deuant oddiyno ryw bryd, y bydd hyny yn ddychweliad; ac o ganlyniad, fe fyddai Llyfr Mormon mor gelwyddog â phe dychwelent oddiyno yr ail ddydd ar ol myned yno, canys dywed y llyfr, "*o ba le nid oes dychweliad.*"

Os edrychwch etto i dud. 321 o Llyfr Mormon, cewch weled fod yno ryw beth tebyg i'r hyn ag a ddywedais, sef nad oes obaith byth ar ol myned i garchar ddyfod oddiyno. Yr wyf yn deall hyn oddiwrth yr eglurhad y mae Alma yn ei roddi ar y gair "Adferiad." Y mae rhyw fan arall yn Llyfr Mormon yn dweyd fod dynion i gael eu rhoddi yn ngharchar hyd oni thalant y —— eithaf; ac o ba le, medd yr hwn oedd yn dweyd hyny, y cânt un —— yn y carchar? Cystal â dweyd na allent gael un byth yno; ac o ganlyniad, yn gorfod aros yno byth. Nis gallaf yn bresennol ddweyd pwy dudalen y mae, ond gwelais ef yn rhywle yn Llyfr Mormon.

Dywedasoch nad oedd dim yn mywyd Oliver Cowdery yn ei wneyd yn euog o'r drwg y crybwyllir am dano yn yr Ath. a Chyf. Nis gallaf gredu eich haeriad hyd nes y caf resymau i brofi nad oedd ei doriad ef allan o'r Eglwys, a'i arosiad un-ar-ddeg o flynyddoedd, yn ei wneyd yn euog o droi yn hollol oddiwrth gyfammod yr offeiriadaeth. Er fy mod allan o'r eglwys, y mae yn deg i mi gael fy ngoleuo yn hyn, os yw yn bosibl gwneyd hyny. Hyn yn bresennol, oddiwrth WILLIAM THOMAS.

[Mae yn ddrwg genym na allwn foddloni y gwr uchod: mae angben cymmaint o oleuni arno, fel nas gall *Seren* y Saint ei ddiwallu. Treied ddyfod o hyd i'r *Haul*, hwyrach y boddlonir ef yno. Er hyny, gwnawn un cynnyg arno etto.—Mae yn debyg i ni ddweyd, "Nis gall neb *wadu*, ond yr hyn a fu yn *gwybod.*" Dyna feddyliwn ni yw ystyr priodol y gair *gwadu*, a dyna ddywed y geiriaduron hefyd. Etto dichon y gall y gair oddef ystyr helaethach, megys yn yr enghraifft ganlynol:—Gofynwn i ddyn na fu yn Merthyr, os bu yno. Os dywed, Naddo, yna gallwn ddweyd ei fod yn *gwadu*, yr un fath â'r sectau yn gwadu grym duwioldeb. Mae iaith yn anmherffaith, ac y mae yn anhawdd deall meddwl Duw heb Ysbryd Duw i'n cynnorthwyo. Mae y gwadu hyn yn wahanol i'r gwadu a wna y rhai hyny ag ydynt wedi "gwadu yr hyn a fuont yn gwybod trwy Ysbryd Duw," fel y dywedasom o'r blaen. Dywedai Llyfr Mormon fod yr hwn a wado Grist a'i weithredoedd, er mwyn elw, yn debyg i fab y golledigaeth. Mae yr hwn a wnelo hyny er mwyn elw, fel Judas,

yn gwadu yr hwn a wybu efe oedd yn Fab Duw, ac felly yn pechu yn anfaddeuol.—Yn nesaf, mewn perthynas i'r geiriau, "Mi a rodiaf lwybr ar hyd yr hwn ni ddychwelaf." A oes ffordd i Job ddyfod o'i fedd, heblaw y ffordd yr aeth iddo? Meddyliwn ni nac oes; ond yr oedd ffordd arall i'r dyn hwnw i ddyfod yn ol o Bethel, fel y gallwn farnu. Boddloned ein gohebydd i'n credu neu beidio am y "dychweliad" yn Llyfr Mormon, nid yw o fawr bwys. Os oes beiau yn Llyfr Mormon, "beiau dynion ydynt," fel yr hysbysir yn y ddalen gyntaf o hono; "gan hyny, na chondemnied neb bethau Duw, fel y caffer ef yn ddifrycheulyd gerbron brawdle Crist."—Pan edrychwn ni i dud. 321 o Lyfr Mormon, yr ydym yn deall yr adferiad a sonir am dano yn wahanol i'n gohebydd, ac ofer i ni ddweyd llawer o'n barn pan y gŵyr efe gymmaint yn well. Nis gallwn ddweyd dim mewn perthynas i'r hyn a welodd efe yn rhywle yn Llyfr Mormon, ond yn unig fod rhyw air ganddo yn ei ysgrif nas gallwn ei wneyd allan.—Mewn perthynas i Oliver Cowdery, os nad yw yr hyn a ddywedasom o'r blaen yn ddigon, gwell genym ni i W. Thomas gredu ei hun.—Yn awr, teimlwn i ddweyd wrth ein gohebydd hwn, ein bod wedi ymgomio digon ag ef am dro, ac am iddo edifarhau ar frys cyn y byddo yn myned yn rhy bell.—GOL.]

---

## AML-WREIGIAETH Y MORMONIAID.

MAE amryw o gyhoeddiadau y wlad yn gwneyd cryn dwrw yn bresennol ynghylch aml-wreigiaeth y Mormoniaid. Hònant eu bod wedi derbyn llythyr oddiwrth rywun yn dadguddio fod gan y Llywydd Brigham Young oddeutu pump-ar-hugain o wragedd; a dywed rhai fod yr un nifer gan Capt. D. Jones hefyd, tra mae ereill yn tystio mai dwy sydd ganddo, a bod un o honynt "yn wraig ysbrydol," yr hon a gymmerodd o Sir Gaerfyrddin. Mae y person sydd yn dweyd hyn yn llygad-dyst, medd y cyhoeddiadau; eithr ofnant roddi ei enw. Mae aml-wreigiaeth y Saint yn hen stori, a gall pawb wybod ei bod yn gelwyddog fel ei thad diafol. Meddyliwn mai y "wraig ysbrydol" yw Mrs. Lewis, gynt o Gydweli, yr hon a ymfudodd yr un pryd â Chapt. Jones, gan adael ei gwr a'i chwaer ar ol i settlo ynghylch materion cyfreithiol, y rhai ni therfynwyd mewn amser i'r ymfudiad; a chan fod Mrs. Lewis wedi cytuno am le mewn llong i'w theulu, a darparu pob peth, cydsyniodd ei gwr a'i chwaer i aros ar ol hyd yr ymfudiad nesaf, er cael rhyw arian ereill ag oedd yn dyfod iddynt. Darfu i'w gwr a'i chwaer hi ymfudo gyda'r llongaid gyntaf ar ei hol hi; a chlywsom eu bod wedi ymuno â'r teulu yn y Dyffryn.

Nid dyna y celwyddau cyntaf am Brigham Young a Chapt. Jones, na'r rhai diweddaf ychwaith. Y sawl sydd am wybod sicrwydd mewn perthynas i'r gwirionedd, darllened a ganlyn allan o'r "Athrawiaeth a Chyfammodau," tud. 300 :—"Yn gymmaint â bod eglwys Crist wedi eu gwarthruddo fel o fod yn euog o'r trosedd o odineb ac aml-wreigiaeth, cyhoeddwn ein bod yn credu y dylai un dyn gael un wraig, ac un fenyw ond un gwr, oddieithr mewn achos o farwolaeth, pan y mae y naill a'r llall at eu rhyddid i briodi eilwaith." Mae aml-wreigiaeth yn beth annyoddefol yn yr eglwys, ac ni oddefid llywydd na neb arall i'w arfer.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Galwad am Lyfrau Cymraeg yn Lloegr.—Mae y Llywydd F. D. Richards wedi gyru atom am gant o'r Athrawiaeth a Chyfammodau yn ddioed, ac yn addaw cymmeryd dau gant o Lyfr Mormon, ar ol iddo ddyfod allan. Mae hyn yn dangos ysbryd cynnorthwyo y Cymry, am yr hyn y dylem fod yn ddiolchgar. Daw y Saint cyn hir yn awyddus i brynu y llyfrau uchod yn mhob iaith y gellir eu cael.

Rheilffordd.—Torwyd tir cyntaf Rheilffordd Dinas y Llyn Halen Fawr a'r Mynydd dydd Mercher diweddaf. Mae cytundeb wedi ei wneyd am *sleepers* a *rails,* a gwaith yn awr yw yr unig beth angenrheidiol er cael y ffordd at wasanaeth uniongyrchol. Bydd y cyfan yn cael eu gwneyd o goed; ac mor fuan ag y gorphenir, gwneir parotoiadau er dechreu y Deml yn ddioed. Pe gwnelai pob Sant ei ddyledswydd, nid elai tri mis heibio cyn y buasai y graig yn cael ei symud i'w gwneyd yn furiau. Pa beth a wnewch?—*Deseret News.*

"Mormons Bog."—Mae cant o'r "Mormons Bog," sef Llyfr Mormon yn yr iaith Ddanaidd, wedi tirio yn Liverpool, ac anfonir rhai o honynt yn ddioed i Gymry, i'r rhai hyny sydd am ddarparu llyfrau i osod o flaen y brodyr tramor a ddaw efallai i'w tai yn Seion.

Newyddion o'r Dyffryn.—Mae iechyd cyffredinol yn ffynu trwy y Dyffryn, a digonedd o wenith wedi ei hau. Mae gorpheniad tai yn ddygwyddiad dyddiol; ac hysbysir fod llestri pridd yn dechreu cael eu gwneuthur. Gwneir pob brys i orphen yr adeiliadau cyhoeddus, er mwyn dechreu y Deml.—Bwriedir cadw y 24ain o Orphenaf mewn modd rhwysgfawr, trwy gael *pic nic party* a gorymdaith i'r Llyn Halen, efo y cor cerddorol yn eu cerbyd o bedwar ceffyl ar ddeg, ynghyd â gosgordd filwraidd; a

bydd bad godidog i ymddifyru ar y llyn; a cheir gwleddoedd, areithiau, &c., er difyrwch y cwmpeini.

Y DYN DOETH.—Y dyn doeth a drefna yr amser a aeth heibio er sylw ac adfyfyriad, yr amser presennol mewn cyflawni dyledswyddau, a'r amser i ddyfod efe a'i rhoddi i ofal Rhagluniaeth.

GOLUD.—Golud wedi ei golli a ellir ei adennill, ac iechyd wedi ei golli a ellir ei adferyd; ond os collir amser gwerthfawr, nis gellir fyth ei alw yn ol.

YR EANGDER (*Space*).

Adeilydd holl fodoliaeth—yw rhyngdod
Yr Eangder helaeth;
Ni eill *Ion*, na'r *oll* a wnaeth,
Oesoli o'i breswyliaeth.

*Dinas.* W. ROBERTS, IEU.

---

TALIADAU O MEDI 5 HYD MEDI 18.—Sir Fynwy, £2; Morganwg Orllewinol, £2 16s 6½c. a £2 5s 10c; Llanilltyd, 1s 3c; Pontytypridd, £2 12s 6c; Llanfabon, 8s 6½c; Cwmbach, £1; Cardiff, 8s 6c; Aberdare, £1 4s 1½c; Dowlais, 16s; Georgetown, £2 13s 3c; Merthyr, 10s; Cefn, 7s 9c; Gorllwyn, 7s 3c: Ffynnon Tydfil, 6s 2c.—Cyfanswm, £17 17s 8½c.

ATH. a CHYF.—Rhoddwn ddwy geiniog yr un am gynnifer a ellir ei gael o'r 6fed Rhifyn o'r Ath. a Chyf.; a dymunwn ar y rhai a ddanfonasant yma am rifynau od, i fod yn amyneddgar, a diwallwn hwynt yn ol ein gallu. Mae llawer heb ddanfon gwybod etto. Gobeithiwn y gofelir yn well am rifynau Llyfr Mormon.

LLYFR MORMON.—Mae yr enwau am Lyfr Mormon yn agos wedi cyrhaedd 1500, heblaw y gorchymyn o Liverpool am 200 ar ol ei orphen. Daw y Rhifyn 1af allan gyda yr UDGORN hwn; ac os cynnydda y derbynwyr i *ddwy fil* erbyn y 10fed rhifyn, gwerthir y rhifynau o'r 20fed allan am geiniog yr un! Deallwch hyn, frodyr.

☞ Danfonir papyrau mawrion gyda y Rhifyn hwn i'w gosod yn ystafelloedd y Saint, ac hefyd mewn ffenestri, a lleoedd cyhoeddus ereill; a gellir ysgrifenu arnynt pa le y gellir cael y llyfrau ar werth, yn y lle a adawyd at hyny.

☞ Cofied trysorwyr y Drysorfa Ymfudol am yru yr arian mewn llaw i Merthyr ar yr amserau penodedig. Bydd y chwarter hwn yn terfynu ar y 24ain o'r mis hwn, a danfoner o bob man erbyn yr amser hyny.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 20.] HYDREF 4, 1851. [PRIS 1*g*.

## DYFODIAD MAB Y DYN.

GAN CAPT. D. JONES.

"Am hyny, byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y Dyn."—MATH. xxiv, 44.

Y GWRTHDDRYCH a nodir,—sef dyfodiad Mab y Dyn; mae'n amlwg mai ei *ail* ddyfodiad a feddylir, o herwydd efe ei hun oedd yn llefaru pan ar y ddaear y waith *gyntaf.* Mae yma osodiad cadarn,—prawf anwrthwynebol a sicr ei fod i ddyfod yr ail waith; ac os gofynir i ba le y daw y waith hono? mae'r gosodiad yn profi hyny—sef dychwelyd a wnai i'r fan y daeth y tro cyntaf, *ar y ddaear.* Gan fod pob enwad sy'n proffesu cristionogrwydd yn addef ail ddyfodiad Mab y Dyn ar y ddaear, ni raid ei gadarnhau. Mae llawer o wahanol farnau yn yr oes hon, ynghylch dull, amser, dyben, a'r arwyddion neu y gwaith a wneir cyn hyny, ïe, feallai fod cynnifer o wahanol dybiau am y pethau nodedig hyn, ag sydd o wahanol enwadau crefyddol yn y byd; prawf, ynte, fod eisieu chwilio yn fanylach iddo, a hyn a wnawn, sef edrych beth yw tystiolaethau dynion arddeledig, ac ysbrydoledig; bydded hyny y maen prawf, a bydd hyny yn ddigonol er terfynu pob dadl, os ydynt dan arweiniad yr un Ysbryd. Ymdrechwn ni ei gael er deall y mater pwysig hwn fel hwythau. Sylwn yn

I. DULL EI DDYFODIAD.

II. DYBEN EI DDYFODIAD.

III. AMSER EI DDYFODIAD.

IV. YR ARWYDDION A RAGFLAENANT, NEU'R GWAITH A WNEIR AR Y DDAEAR CYN EI DDYFODIAD.

I. Y DULL, NEU'R MODD YR YMDDENGYS YR AIL WAITH. Mae gan bron bawb ag sydd wedi ystyried y pwnc hwn, a dyfod i benderfyniad arno, ryw ffordd wedi ei hagor, rhyw lwybr wedi ei drefnu, neu reol yn ol pa un y dysgwyliant iddo ddyfod, a hyny yn wahanol iawn i'w gilydd, ac (ond rhoi rheswm ar waith) rhaid addef y caiff yr oll o honom ein siomi yn hyn ond un; nid oes yn bosibl fod ond un o'r cyfan yn iawn synied, o herwydd nad yw yn dyfod ond un waith etto, ac nis gall ddyfod mewn gwahanol ddulliau y tro hwnw; felly, gwelwn yr anghenrheidrwydd o ddeall pa ddull y daw, pwy o'r cyfan (os addefir fod hyd y nod un) sydd gywir, ac nid yw hwnw gywir ychwaith os nad yw yn ol y "gyfraith â'r dystiolaeth;" canys yn y dull a fyno ei hun y daw, er dywedyd o holl bobl y byd i'r gwrthwyneb--ac mae ef ei hun wedi dweyd y dull, wedi desgrifio yr agwedd, a dangos pa fodd y daw. Dywed yn adn. 30, y daw "ar gymylau y nef gyda nerth a gogoniant mawr." "A Mab y Dyn pan ddêl yn ei ogoniant, a'r holl angylion santaidd gydag ef, yna yr eistedd ar orsedd ei ogoniant" (pennod xxv, 31). "Yna y gwelant Fab y Dyn yn dyfod mewn cwmwl, gyda gallu a gogoniant mawr" (Luc xxi, 27). Dyma ei dystiolaeth ef ei hun, ond clywn dystiolaeth dau angel wrth ei ddyscyblion, "A hwy (yr apostolion) yn edrych, Efe (sef yr Iesu) a ddyrchafwyd i fyny; a chwmwl a'i derbyniodd ef allan o'u golwg hwynt. Ac fel yr oeddynt yn edrych yn ddyfal tua'r nef, ac efe yn myned i fyny, wele, dau wr (angylion) a safodd gerllaw iddynt mewn gwisg wen; y rhai a ddywedasant, Chwi wŷr o Galilea, paham y sefwch yn edrych tua'r nef? yr Iesu hwn yr hwn a gymmerwyd i fyny oddiwrthych i'r nef, a ddaw felly yr un modd ag y *gwelsoch* ef yn myned i'r nef" (Act. i, 9, 10, 11). Yma profir y daw Mab y Dyn yn yr un cerbyd ag yr aeth, sef cwmwl, a chan mai oddiar fynydd yr Olewydd yr esgynodd, ar fynydd yr Olewydd y daw, felly yn "yr un *modd* a *ddaw*," &c. Ac i hyn mae'r prophwydi yn dwyn tystiolaeth; dywed Zach. xii, 10, "A hwy (sef ty Dafydd a phreswylwyr Jerusalem) a edrychant arnaf fi yr hwn a wanasant." "A dywed un wrtho, Beth a wna y gwelïau hyn yn dy ddwylaw? Yna efe a ddywed, Dyma y rhai y'm clwyfwyd â hwynt yn nhŷ fy ngharedigion" (pen. xiii, 6).

Mae y gosodiad uchod am ddull dyfodiad Mab y Dyn yn benderfynol er profi y daw ar y cwmwl, yn bersonol; yr un corff

ag a groeshoeliwyd, adgyfodwyd; yr un gweliau a ddangosodd Crist i Thomas, ac ereill, pan ddywedodd, " gwelwch a theimlwch, canys nid oes gan ysbryd gnawd ac esgyrn, fel y gwelwch fod genyf fi." Yr un creithiau, sef ol yr hoelion, a'r waywffon, a'r goron ddrain a ddengys Crist pan ddêl yr ail waith; am hyny y galarant, o herwydd iddynt ei wrthod a'i anmharchu cyhyd; ond daw y waith hon yn fuddugoliaethus ar ei holl elynion, ac wrth y nodweddau hyn yr adnabyddant eu Messiah, a bydd yn Frenin, nid ar yr Iuddewon yn unig, ond bydd ei freniniaeth dros yr holl fyd; a rhag bod un anmheuaeth am y dull neu'r fan lle daw, dywed y Prophwyd yn pen. xiv, 4, " Ai draed a safant y dydd hwnw ar fynydd yr Olewydd, sef y traed hyny a gerddodd hyd ein daear ni, y traed hyny a gerddasant i ben Golgotha, a hoeliwyd wrth y groesbren, ïe, y traed santaidd hyny a sengodd ben mynydd yr Olewydd, pan y dyrchafodd i fyny nes sengu yr un traed ar lwch euraidd fryniau Caersalem fry, o fewn i'r drydedd nef, a'r traed hyny a safant etto ar yr un mynydd, sef yr Olewydd, ac efe a hyllt yn ddau, ac un hanner a symud tua'r gogledd, a hanner tua'r dehau, a bydd dyffryn mawr iawn; feallai yr haera rhai fod hyn wedi cymmeryd lle eisoes, ond ni wna un hanesydd a ŵyr am sefyllfa y wlad hono haeru fod mynydd yr Olewydd wedi hollti felly, o achos nad yw. Yr oedd yna ddyffryn mawr iawn i fod, i ba un y ffoäi tŷ Dafydd a phreswylwyr Jerusalem am ddiogelwch, ond nis gall fod wedi dygwydd felly etto, o herwydd nid ynt wedi dyfod yno, ond hyd heddyw yn wasgaredig dros holl dylwythau y ddaear; ond yr oedddynt i gael eu casglu i'w gwlad, ac i adeiladu Jerusalem cyn hyny, ac yr oedd yr holl genedloedd i ddyfod yn eu herbyn, a goresgyn hanner y ddinas, fel y gwelir yn yr hanes blaenorol; ac wedi iddynt ffoi i'r dyffryn hwn, a'u gelynion o'u hamgylch, yr oedd y tywyllwch mawr i gymmeryd lle, a holl lu y cenedloedd i ddyfetha y naill y llall, nes byddai ond ychydig yn weddill o bob cenedl dan y nef. Y pryd hyn " y daw yr Arglwydd a'i holl saint gydag Ef" (adn. 5). Ac os haerir fod y pethau hyn wedi cymmeryd lle, rhaid profi fod yr holl saint wedi dyfod hefyd, gan eu bod i ddyfod " gydag Ef." Os dywed neb fod hyn yn cyfeirio at y rhai a godasant pan adgyfododd yr Iesu, yna mae hyd y nod tywyllwch y fagddu, bob nos er hyny yn gwadu yr haeriad, " Canys y dydd hwnw y daw i ben,

na bydd goleuni dysclaer, na thywyll" (adn. 6). "Ond bydd un diwrnod, a hwnw a adwaenir gan yr Arglwydd, nid dydd, ac nid nos; ond bydd goleuni yn yr hwyr" (adn. 7). Gwel hefyd y cyfan o'r bennod, fod adferiad yr Iuddewon i feddiannu y wlad yn dragywydd, ond eu gwasgaru gawsant yn, neu ar ol adgyfodiad yr Iesu; o ganlyniad mae'r holl bethau hyn yn mlaen, ac edrychwn am ail ddyfodiad Mab y Dyn ar gymylau y nef, a'i holl saint gydag Ef. Fe ddaw yn bersonol fel, ac i'r man, yn yr un modd ag yr aeth i'r nef. Dywed Paul, 1 Thes. iv, 15, 16, 17, "Ni bydd i ni y rhai byw, y rhai a adewir hyd ddyfodiad yr Arglwydd, rag-flaenu y rhai a hunasant. Oblegid yr Arglwydd ei hun a ddisgyn o'r nef gyda bloedd, a llef yr archangel, ac ag udgorn Duw, a'r meirw yn Nghrist a gyfodant yn gyntaf: yna ninnau y rhai byw, y rhai a adawyd, a gipir i fyny gyda hwynt, yn y cymylau, i gyfarfod â'r Arglwydd yn yr awyr: ac felly y byddwn yn wastadol gyda'r Arglwydd." Yn mha le? ai yn yr awyr? Nage, ond ar y ddaear, gwel Dad. v, 10, lle mae Ioan yn clywed llais mwynaidd telynau seraphiaid a phiolau euraidd y nef yn seinio mor fwyn; efe a wrandawodd beth oedd eu can, ac wele, na synwch, dyma oedd eu cân mewn llawenydd a gorfoledd yn y lle dedwydd hwnw, "Ac a'n gwnaethost ni, i'n Duw ni, yn freninoedd ac yn offeiriaid." Wel, meddwch, nid rhyfedd iddynt ganu yn fwyn, wedi cael y fath swyddau goruchel yn y nef; ond deallwch, nid dyna yr oll o'u cân, y rhan ddiweddaf oedd y felusaf o lawer, sef "ac ni a deyrnaswn ar y ddaear." Yn mhen. xx, 4, mae yn eu gweled ar orseddfeinciau, "a hwy a fuant byw ac a deyrnasasant gyda Christ fil o flynyddoedd." Gwelwn fod Crist i ddyfod ar gymylau y nef, yn ei deyrnas gyda ei angylion nerthol, a'i holl saint a gyfodant, megys y cyfododd Efe, ac â'r cyfryw gyrff ag ef, ac efe a deyrnasa yn Frenin ar yr holl fyd yn bersonol, a bydd y rhai a fuant ffyddlon yn eu hoes yn ei wasanaethu ef, a marw ynddo ef, yn adgyfodi pan ddêl ef, ac yn teyrnasu gydag ef, fel swyddogion yn ei deyrnas eang a gogoniant, er cario ei lywodraeth yn mlaen dros yr holl fyd. Mae amryw gymhariaethau wedi eu rhoddi i lawr er dangos y dull y deuai Mab y Dyn.

1. Cyffelybiaeth y diluw,—"fel yr oedd yn nyddiau Noah, felly y bydd yn y dyddiau cyn dyfodiad Mab y Dyn." Beth sydd yn debyg ynddo? 1. Codi Prophwyd i rybyddio y wlad o'i ddyfod-

iad, &c. 2. Ychydig a achubwyd yn nyddiau Noah; er y rhybyddio, 'doedd neb yn credu o'r bron, ond galw yr hen brophwyd yn dwyllwr, felly y bydd etto. 3. Daeth y diluw yn sydyn arnynt, pryd nad oeddynt yn dysgwyl, felly y bydd etto. Mae rhan fawr o'r oes hon yn meddwl yn hollol groes i hyn, sef y bydd y dydd hwnw yn dyfod yn raddol, ac y bydd trigolion y byd, a'r Iuddewon hefyd yn dyfod i gredu y crefyddau a alwant yn Efengyl, ac y maent wedi darparu y ffordd yma iddo ddyfod, ac yn gwneyd eu goreu i brysuro yr amser, a darparu ei ffordd o'i flaen, sef trwy anfon cenadon i efengyleiddio y byd; ond felly y mae ganddynt waith hirfaith iawn, neu mae y dydd hwnw yn mhell iawn, os na ddaw hyd nes delo yr holl Iuddewon a Chenedloedd i gredu, a barnu yn ol yr amser a aeth heibio, a'r llwyddiant a gawsant hyd yma; os yw pobl y byd i ddyfod i gredu yr efengylau hyn, cyn y dêl y dydd hwnw, rhaid cael rhyw wyrthiau i'w canlyn yn ol eu haddefiad; felly, dylent naill ai addef efengyl y gwyrthiau, neu roi i fyny eu gwaith, debygaf. Ond yn

2. Cyffelybiaeth y diluw a brawf nad oes ond ychydig o bobl y byd i'w hachub y dydd hwnw: dywedir yn Luc xvii, 28, "Yr un modd hefyd y bu yn nyddiau Lot," ni chymmerasant rybydd, ni chredasant y dystiolaeth, er ei bod o anfoniad dwyfol, eithr daeth tân ac a'u llosgodd, ond ychydig, sef teulu Lot: felly y bydd yn nyddiau Mab y Dyn, a hyny o herwydd na ddaw yn y modd y mae pobl wedi gosod iddo.

Daw fel magl a'r warthaf pawb oll, ar sydd yn trigo ar wyneb y ddaear, am hyny byddwch chwithau barod. "Am hyny, edrychwch arnoch eich hunain, gwyliwch a gweddiwch bob amser, rhag dyfod y dydd hwnw arnoch yn ddisymmwth," Luc xxi, 34, 35. Dywed Isaiah, "Y ddaear a'r gwaith sydd ynddi a losgir, ac ychydig bobl a adawir.

4. Daw fel dyfodiad mellten, yn gyffredinol, neu yn hytrach fel y daw pelydrau y goleuni o'r dwyrain a llanw y byd, nes i bawb ei weled. Nid yw y fellten bob amser yn dyfod o'r dwyrain ac yn myned tua'r gorllewin; ac nid yw yn myned dros y byd, ond rhan fechan o hono; ond pan ddêl Mab y Dyn caiff ei holl saint ei weled, caiff yr Iuddewon ei weled yn Jerusalem, a hyny pan ddywedant "Bendigedig yw'r hwn sy'n dyfod yn enw'r Arglwydd;" ond pawb caiff yn mhob man weled ei bresen-

oldeb, sef y tân hwnw, a ddifa o'i flaen bob anwiredd ac halogrwydd: ag anadl ei enau y dyfetha efe yr anwir, &c. "Ein Duw ni sydd dân ysol." Felly y bydd goleuni, sef yn gyffredinol dros yr holl fyd, a chan fod rhaid i bawb weled a dyoddef y dydd hwnw, ymbarotowch i'w gyfarfod, "canys daw fel glanhawr a phurwr arian, fel tân y toddydd, a sebon y golchyddion.

II. Dyben ei ddyfodiad yr ail waith.

1. I dderbyn ei deyrnas iddo ei hun. 2. I ddinystrio yr annuwiolion. 3. I'w ogoneddu yn ei Saint.

1. I fod yn Frenin ar ei deyrnas. Gwel Luc xxii, 30, "Fel y bwytaoch ac yr yfoch ar fy mwrdd i yn fy nheyrnas, ac yr eisteddoch ar orseddfeydd yn barnu deuddeg llwyth Israel." Etto pennod 1, 32, 33, "Hwn (Iesu) fydd mawr, ac a elwir yn Fab y Goruchaf: ac iddo y rhydd yr Arglwydd Dduw orseddfa ei dad Dafydd, ac efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd; ac ar ei freniniaeth ni bydd diwedd." Gwel hefyd Salm cxlv, 11, 12, 13, "Dywedant am ogoniant dy freniniaeth; a thraethant dy gadernid: i beri i feibion dynion adnabod ei gadernid ef, a gogoniant ardderchogrwydd ei freniniaeth. Dy freniniaeth di sydd freniniaeth dragywyddol: a'th lywodraeth a bery yn oes oesoedd." Dywedir yn Dan. ii, 44, "y cyfyd Duw y nefoedd freniniaeth yr hon ni ddistrywir byth," &c. Ac yn mhennod iv, 3, dywedir, "ei deyrnas ef sydd deyrnas dragywyddol, a'i lywodraeth ef sydd o genedlaeth i genedlaeth." Etto yn Math. vi, 10, 13, "Deled dy deyrnas. Gwneler dy ewyllys, megys yn y nef, felly ar y ddaear hefyd. Canys eiddot ti yw y deyrnas, a'r nerth, a'r gogoniant, yn oes oesoedd. Amen." Hefyd yn mhen. xxv, 31, 32, 33, 34, dywedir, "A Mab y Dyn, pan ddêl yn ei ogoniant, a'r holl angylion santaidd gydag ef, yna yr eistedd ar orseddfainc ei ogoniant. A chydgesglir ger ei fron ef yr holl genedloedd; ac efe a'u didola hwynt oddiwrth eu gilydd, megys y didola y bugail y defaid oddiwrth y geifr: ac a esyd y defaid ar ei ddeheulaw, ond y geifr ar yr aswy. Yna y dywed y Brenin wrth y rhai ar ei ddeheulaw, Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotöwyd i chwi er seiliad y byd." Dywedir yn 1 Cor. xv, 50, "Na ddichon cig a gwaed etifeddu teyrnas Dduw." Gwel 2 Tim. iv, 1, 8, "Yr hwn a farna y byw â'r meirw yn ei ymddangosiad a'i deyrnas. O hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi, yr hon a rydd yr Arglwydd

y Barnwr cyfiawn, i mi yn y dydd hwnw; ac nid yn unig i mi, ond hefyd i bawb a garant ei ymddangosiad ef." Etto Dad. xi, 15, "Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni, a'i Grist ef; ac efe a deyrnasa yn oes oesoedd." Llawer yn ychwaneg o adnodau a brofant fod Crist i ddyfod yr ail waith yn bersonol i gymmeryd meddiant o'r ddaear, ac i fod yn frenin ar yr holl fyd, a'i lywodraeth o'r afonydd hyd eithaf y ddaear; y dydd hwnw y bydd un Brenin, a'i enw yn un, a'i holl elynion dan ei draed. Ond y mae digon wedi ei ddangos er cadarnhau y gosodiad yn anwrthwynebol ar dir ysgrythyrol.

2. Mae yn dyfod i ddinystrio yr annuwiolion a fyddant ar y ddaear yn nydd ei ddyfodiad, ond nid y rhai sydd eisoes wedi marw a farna efe pan ddêl. Gwel Salm xi, 6, "Ar yr annuwiol y gwlawia efe faglau, tân a brwmstan, a phoethwynt ystormus, dyma ran eu phïol hwynt." Salm lxviii, 2, "Fel y tawdd cwyr o flaen y tân, dyfethir y rhai annuwiol o flaen Duw;"—am hyny byddwch chwithau barod. Salm cx, 6, "Efe a farn yn mysg y cenedloedd; lleinw leoedd â chelaneddau: archolla ben llawer gwlad." Gwel hefyd Esay ix, 18, 19, 20, "O herwydd anwiredd a lysg fel tân; y mïeri a'r drain a ysa efe, ac a gynneu yn nyrysni y coed; a hwy a ddyrchafant fel ymddyrchafiad mwg. Gan ddigofaint Arglwydd y lluoedd y tywylla y ddaear, ac y bydd y bobl fel ymborth tân: nid eiriach neb ei frawd. Ac efe a gipia ar y llaw ddehau, ac a newyna; bwyty hefyd ar y llaw aswy, ac nis digonir hwynt: bwytânt bawb gig ei fraich ei hun." Etto yn mhen. xiii, 6, 7, 8, 9, "Udwch; canys agos yw diwrnod yr Arglwydd; megys anrhaith oddiwrth yr Hollalluog y daw. Am hyny yr holl ddwylaw a laesa; a chalon pob dyn a dawdd. A hwy a ofnant; gwewyr a doluriau a'u deil hwynt; megys gwraig yn esgor yr ymofidiant; pawb wrth ei gyfaill a ryfedda; eu hwynebau fyddant wynebau fflamllyd. Wele ddydd yr Arglwydd yn dyfod, yn greulawn â digofaint a digter llidiog, i osod y wlad yn ddiffaethwch; a'i phechaduriaid a ddifa efe allan o honi." Ac yn mhen. xxiv, 6, 17, 21, dywedir, "Am hyny melldith a ysodd y tir, a'r rhai oedd yn trigo ynddo a anrheithiwyd; am hyny preswylwyr y tir a losgwyd, ac ychydig ddynion a adawyd. Dychryn, a ffos, a magl, fydd arnat ti, breswylydd y ddaear. Yr amser hwnw yr ymwêl yr Arglwydd â llu yr uchel, yr hwn sydd yn yr uchelder, ac â breninoedd y

y ddaear ar y ddaear." Etto adn. 22, "A chesglir hwynt fel y cesglir cacharorion mewn daeardy, a hwy a garcherir mewn carchar, ac yn mhen llawer o ddyddiau yr ymwelir â hwynt." Gwel Salm cxlix, 6, 7, "A chleddyf dau finiog yn eu dwylaw; i wneuthur dïal ar y cenedloedd, a chosp ar y bobloedd." Esay xi, 4, "Ac efe a dery y ddaear â gwïalen ei enau, ac ag anadl ei wefusau y lladd efe yr anwir." Jer. xxx, 23, 24, "Wele, gorwynt yr Arglwydd yn myned allan mewn digter, corwynt parhaus; ar ben annuwiolion yr erys. Ni ddychwel digofaint llidiog yr Arglwydd, nes iddo ei wneuthur, ac nes iddo gyflawni meddyliau ei galon: yn y dyddiau diweddaf y deallwch hyn." Etto yn Seph. iii, 8, "Canys â thân fy eiddigedd yr ysir yr holl ddaear." Gwel hefyd yn Mal. iv, "Canys wele y dydd yn dyfod yn llosgi megys ffwrn; a'r holl feilchion, a holl weithredwyr anwiredd, a fyddant sofl; a'r dydd sydd yn dyfod a'u llysg hwynt, medd Arglwydd y lluoedd, fel nas gadawo iddynt na gwreiddyn na changen," &c. Ac yn 2 Thes. i, 7, 8, 9, "Yn ymddangosiad yr Arglwydd Iesu o'r nef, gyda'i angylion nerthol, a thân fflamllyd, gan roddi dïal i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufyddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. Y rhai a ddyoddefant yn gospedigaeth, ddinystr tragywyddol oddi ger bron yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei gadernid ef." Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, gwelwn fod Mab y Dyn pan ddêl ar y cwmwl i'w deyrnas, i roddi dïal ar bawb nad ydynt yn adnabod Duw: ac nid oes modd ei adnabod ef ond trwy ei Ysbryd, ac ni ddichon neb gael ei Ysbryd ond trwy y Mab; nid adnabu neb y Tad ond y Mab, a'r hwn y dadguddia y Mab ef iddo, a'r Ysbryd Glân sydd yn deilliaw oddiwrth y Tad sydd yn dadguddio, neu yn dyfod a gwybodaeth o'r naill a'r llall, a hyny trwy ufyddhau i efengyl yr Arglwydd Iesu, yr hon adnabyddiaeth yw y bywyd tragywyddol; ac heb ufyddhau i'w efengyl ef, ni allwn ddianc rhag y diluw tân dïaleddol; nid oes un ffordd arall, a diolchwn fod un ffordd o ddiangfa ar un ammod, yn bosibl; ac O, na ddiystyrwn hi, nac esgeuluswn hi er dim, canys mae cyfiawnder at ein heneidiau yn ein hannog, a dydd mawr ac ofnadwy yr Arglwydd yn ei ddigter, yn ein cymhell i gofleidio ei efengyl ar frys, tra y gelwir hi heddyw; am hyny, byddwch chwithau barod, &c.

3. Dyben arall sydd i ail ddyfodiad Mab y Dyn, ydyw, i'w

ogoneddu yn ei Saint; i'r rhai a hunasant yn yr Iesu, gael eu rhyddhau i ryddid gogoniant plant Duw, gan ddysgwyl y mabwysiad, sef prynedigaeth y corff, "gan fod Duw yn rhagweled rhywbeth gwell am danom ni, fel na pherffeithid hwy hebom ninnau." "Nac ofnwch, rai anwyl, canys rhyngodd bodd i'r Tad roddi i chwi deyrnas." Hefyd darllener yr adnodau a ganlyn: Math. v, 5, "Gwyn eu byd y rhai addfwyn, canys hwy a etifeddant y ddaear." Mal. iii, 16, 17, 18, "Ac ysgrifenwyd llyfr coffadwriaeth ger ei fron ef i'r rhai oedd yn ofni yr Arglwydd, ac i'r rhai oedd yn meddwl am ei enw ef. A byddant eiddo fi, medd Arglwydd y lluoedd, y dydd y gwnelwyf briodoledd; arbedaf hwynt hefyd fel yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu. Yna y dychwelwch (yr Iuddewon) ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef." Phil. iii, 20, 21, "Canys ein hymarweddiad ni sydd yn y nefoedd; o'r lle hefyd yr ydym yn dysgwyl yr Iachawdwr. Yr hwn a gyfnewidia ein corff gwael ni, fel y gwneler ef yr un ffurf â'i gorff gogoneddus ef," &c. 2 Tim, iv, 8, "Rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi, ac i bawb a garant ei ymddangosiad ef yr ail waith." 1 Cor. i, 7, 8, "Yn dysgwyl am ddadguddiad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn hefyd a'ch cadarnha chwi hyd y diwedd, yn ddiargyhoedd, yn nydd ein Harglwydd Iesu." 1 Ioan iii, 2, "Yr awrhon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn; eithr ni a wyddom, pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo; oblegid ni a gawn ei weled ef megys ag y mae." 2 Thes. i, 7, 10, "Ac i chwithau, y rhai a gystuddir, esmwythdra gyda ni, yn ymddangosiad yr Arglwydd Iesu o'r nef. Pan ddêl efe i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu (o herwydd i'n tystiolaeth ni yn eich mysg chwi gael ei chredu) yn y dydd hwnw." 1 Thes. iv, 14, "Canys os ydym yn credu farw Iesu, a'i adgyfodi; felly y rhai a hunasant yn yr Iesu, a ddwg Duw hefyd gydag ef." Etto adn. 16, 17, "A'r meirw yn Nghrist a gyfodant yn gyntaf; yna ninnau y rhai byw, y rhai a adawyd, a gipir i fyny gyda hwynt, yn y cymylau, i gyfarfod a'r Arglwydd, yn yr awyr; ac felly y byddwn yn wastadol gyda'r Arglwydd." Math. xix, 28, "Yr eisteddwch chwithau ar ddeuddeg gorsedd, yn barnu deuddeg llwyth Israel." 1 Cor. vi, 2, "Oni wyddoch chwi y barnu y saint y byd," &c.

Yma gwelwn y bydd y rhai sydd yn ufyddhau i'r efengyl dragywyddol (a hwy yn unig) yn cael eu cipio ar adenydd ffydd, fel yr eryr i'r awyr i gyfarfod â'u Brenin mawr heddwch: pan ddêl yn ei deyrnas, y bydd yn eu hanrhydeddu, yn eu caru, eu hachub, yn ymffrostio ynddynt, ac yn dweyd, Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi, yn eu haddef hwynt fel ei frodyr yn ngwydd Duw a'i holl angylion, gan ddywedyd wrthynt, "Deuwch, fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi,'' &c; "y rhai a roddaist, yr wyf yn ewyllysio lle yr wyf fi, fod o honynt hwythau hefyd gyda myfi;" ac nid y rhai byw yn unig, ond y meirw a adgyfodant; ac ar unwaith y cyfyd y ddwy fintai ogoneddus i fyny i'r awyr trwy rym eu ffydd, tra fydd yr holl ddaear a'r gwaith fydd ynddi yn cael eu llosgi, y bryniau yn neidio fel ŵyn, y creigiau yn hollti, yr annuwiolion gan ofn a dychryn yn gwaeddi ar y bryniau am syrthio arnynt, a'u cuddio o wydd Mab y Dyn, ac oddiwrth lid yr Oen. Ond ni fydd diangfa pryd hyny, yn awr yw yr amser. O, cofleidiwch efengyl ei Fab, a chymmoder chwi â Duw, fel na fyddo y dydd hwnw yn dyfod arnoch fel magl. Yma gwelwn na fydd pawb yn meirw, ond bydd mwy o drigolion ar y ddaear pan ddêl nag erioed, ac er y lleddir yr annuwiol ag anadl ei enau, etto ni fydd y Saint feirw; ond beth a ddywed yr ysgrythyr? "Gosodwyd i ddynion farw un waith, ac wedi hyny fod barn;'' felly y bydd yr annuwiolion farw, ac wedi hyny yr adgyfodir hwynt i farn y dydd olaf; wedi hyny gosodir i lawer farw ddwy waith, sef, cael eu taflu i'r llyn o dân ar ol y farn gyffredinol. Ond nid at hyna y cyfeirir yn y lleoedd blaenorol, ond at bawb fydd ar y ddaear y daw y farn uchod, pan ddêl Mab y Dyn, a bydd y cyfnewidiad a gymmer le ar y Saint yn gydradd a marwolaeth, canys cyfyd y rhai a hunasant â chyrff fel ei gorff gogoneddus ef. A'th feirw a fyddant byw, fel fy nghorff i y cyfodant, "A ninnau," medd Paul, "a newidir i'r unrhyw ddelw;" yma y bydd gan yr holl Saint gyrff fel ei gorff ef. Bydd rhai wedi cyfodi o'r bedd, a llawer heb fod erioed yno, nac i fyned yno ychwaith, canys ni fyddant farw mwyach, ond yn wastadol gydag ef. A chan fod rhaid dyrchafu i'r cwmwl i'w gyfarfod er dianc rhag y dialedd, a hyny ar adenydd, nid rhyfedd i'r Iesu ofyn, "A Mab y Dyn pan ddêl, a gaiff efe ffydd ar y ddaear?"

Ei ddyben yn dyfod yw er achub ei bobl, derbyn ei deyrnas,

ac i'w ogoneddu yn ei Saint, fel y teyrnasant gydag ef ar y ddaear fil o flynyddoedd, fel y dywed Paul, mai "fel yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, y crynhoa efe bob peth yn Nghrist Iesu, y pethau sydd yn y nefoedd ac ar y ddaear ynddo Ef," Eph. i, 10. Etto yn Dad. xiv, 1, 14, 15, "Ac wele, Oen Duw yn sefyll ar fynydd Seion, a chydag ef bedair mil a saith ugein-mil, a chanddynt enw ei Dad ef yn ysgrifenedig yn eu talcenau. Ac mi a edrychais; ac wele gwmwl gwyn, ac ar y cwmwl un yn eistedd tebyg i Fab y Dyn, a chanddo ar ei ben goron o aur, ac yn ei law gryman llym. Meda, oblegid daeth cynauaf y ddaear." Pen. xix, 5—9, "Moliennwch ein Duw ni, ei holl weision ef. Haleluia, canys teyrnasodd yr Arglwydd Dduw Hollalluog. Llawenychwn, oblegid daeth priodas yr Oen, a'r wraig a wnaeth ei hun yn barod. A chaniatâwyd ei gwisgo â llian main, sef cyfiawnder y Saint. Bendigedig yw y rhai a elwir i Swper neithior yr Oen; gwir eiriau Duw yw y rhai hyn." Y mae Crist yn gorchymyn y cwpan yn y swper i'w ddyscyblion, ac yn dweyd wrthynt, "Nid yfaf o ffrwyth y winwydden hyd oni ddêl teyrnas Dduw," sef yn ei grym a'i gogoniant, yr hyn a gymmer le pan, ond nid cyn ei ail ddyfodiad i'r byd. Dyma y wledd a ddywed Esay a wna yr Arglwydd yn y mynydd hwn (Seion), o basgedigion breision, &c. O, ryfedd wledd, a'r Arglwydd yn gweinyddu ei hun o flaen ei henafiaid yn ogoneddus, pan y sych ymaith bob deigryn oddiwrth eu llygaid hwynt; ni fydd galar a gofid mwy, ond cânt weled ei wyneb ef bob amser, a bydd eu llawenydd fel yr afon, a'u cysuron fel tonau y môr. Yno yr ymgyferfydd yr hen batriarchiaid, prophwydi, a Saint, a'r hen ddihenydd, ïe, a'r gwaelaf a'r distadlaf o'i Saint hyd awr ei ddyfodiad. Yna y bloeddiant, gan ddyrchafu eu penau, Dyma ein Duw ni, gobeithiasom ynddo; a hwy a gant ŵnau gwynion, sef cyfiawnder Crist, wedi eu cànu yn ngwaed yr Oen; ac yna meddyliaf y bloeddiant â chân moliant, a thelynau euraidd a mwynaidd iddo Ef, yr hwn a'n carodd, ac a'n prynodd trwy ei waed, o bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl, ac a'n gwnaeth ni iddo ef yn freninoedd ac offeiriaid i Dduw, ac a roddes y coronau aur am ein penau, Diolch iddo, Iddo ef, iddo ef, &c.

Dyma ddybenion mwyaf ail ddyfodiad Mab y Dyn i'r ddaear; daeth y waith gyntaf fel gwas, ond yr ail waith fel Arglwydd pawb oll, Tywysog, cadarn mewn rhyfel, Concwerwr y concwer-

wyr, a Brenin y breninoedd; y nef ei orseddfainc, a'r ddaear yn stol ei draed, y goleuni ei wisgoedd, y cymylau ei gerbydau, taranau ei lais, ei nerth hollalluogrwydd, ei osgordd holl lu'r nef a rhai rhagorol y ddaear, i ba rai y mae yn rhoddi golud anchwiliadwy, trysorau uwchlaw pris, a swyddau goruchel yn ei ymyl ei hun, ie, yn unffurf ag ef ei hun; ac hefyd daw i ddial ar holl drigolion y ddaear, ar y ddaear, sef â dyscleirdeb ei ddyfodiad, —ag anadl ei enau y dyfetha efe yr anwir. "Canys wele yr Arglwydd yn dyfod allan o'i fangre, i ymweled ag anwiredd preswylwyr y ddaear; a'r ddaear a ddadguddia ei gwaed, ac ni chuddia mwyach ei lladdedigion,"—Esay xxvi, 21. Am hyny, byddwch chwithau barod i'w gyfarfod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y Dyn; a phan ddel, pwy a oddef ddydd ei ddyfodiad ef?

(*I'w barhau.*)

---

## AT YR EGLWYSI.

Mr. Gol.,—Wedi ymdeithio trwy wahanol siroedd a Chymmanfaoedd Cymru, cefais allan fod rhyw athrawiaeth afiachus iawn yn cael ei hathrawiaethu, a dymunwn ei gwneyd yn hysbys trwy gyfrwng yr Udgorn, fel y byddo i'r holl Saint ffyddlon gael eu diogelu rhagddi. Yn mhob oes y mae dynion drwg wedi bod yn Eglwys Dduw; felly yn yr oes hon. Y mae rhai wedi dysgu mewn perthynas i'r llyfrau sydd wedi eu cyhoeddi, fod yr oll o dan eu llywyddiaeth hwy, a bod pob llyfr sydd wedi dyfod allan, i gael eu llywodraethu ganddynt hwy yn hollol: a phe byddai y Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau (pa un sydd yn cynnwys dadguddiadau Duw), yn dweyd mai fel a'r fel y mae ymddwyn tuag at y trosedd a'r trosedd, neu y peth a'r peth; O, meddai y rhai chwyddedig, llawn gwynt, ag sydd yn adeiladu eu tai ar y tywod, "Nid yw o ddim pwys genym ni pa beth y mae yr Athrawiaeth a Chyfammodau yn ddweyd, nac un llyfr arall; yr ydym ni yn Llywyddion. Ni a wnawn ein hewyllys, ac ewyllys ein hunain a wnawn. Peidiwch a siarad â ni am lyfrau, am mai ni sydd yn eistedd yn farnwyr." Yn wir, nid wyf yn synu dim fod cyn lleied o ufydd-dod wedi bod i'r *Star* ac i'r Udgorn, canys mor fuan ag y deuant i ddwylaw y dynion chwyddedig hyn, "O," meddant, "y mae yn rhaid i'r awdur-

ffodau ysgrifenu fel a'r fel; ond y peth ag ydym ni yn ddywedyd sydd i sefyll.'' Pe byddai awdurdodau yr Eglwys hon yn dywedyd wrth y dynion hyn am beidio a defnyddio arian y llyfrau, "O," meddent, "nid ydynt hwy yn meddwl yr hyn y maent yn ddywedyd.'' O achos dynion o'r fath hyn y mae Cymmanfaoedd wedi myned i ddyled; nid oes rhaid eu henwi, yr ydych yn eu hadnabod, ynghyd â llawer o bechodau ereill; o herwydd nid oedd dim sylw yn cael ei wneyd o'r hyn a fuasai yn cael ei ysgrifenu atynt. Llawer o bechodau a allwn eu nodi, ond ni fyddai hyny yn ddoethineb ar yr amser presennol; a bydded i'r rhai hyny edifarhau gerbron Duw, a chadw yr holl orchymynion o hyn allan, rhag ofn iddynt gael eu hunain allan o deyrnas Dduw, a chael marw yn y sefyllfa hyny. Beth a ddywedwn, a oes amgenach lle nag uffern yn aros pobl o'r fath? Am hyny, ofnwch a dychrynwch, "Gwrandewch, O chwi bobl, ac agorwch eich calonau a rhoddwch glust o bell; a gwrandewch, chwi sydd yn galw eich hunain yn bobl yr Arglwydd, a chlywch air yr Arglwydd a'i ewyllys mewn perthynas i chwi; ïe, yn wir, meddaf, clywch ei air ef yr hwn y mae ei lid wedi ennyn yn erbyn y drygionus a'r gwrthryfelgar; yr hwn a ewyllysia gymmeryd y rhai hyny a gymmera, ac a gadwa yn fyw y rhai a gadwa; yr hwn a adeilada i fyny yn ol ei ewyllys a'i bleser ei hun; ac a ddystrywia yr hwn a fŷna, ac sydd yn alluog i daflu yr enaid i lawr i uffern. Wele, myfi, yr Arglwydd, a roddaf allan fy llais, ac ufyddheir iddo. O herwydd paham, yn wir meddaf, bydded i'r gwrthryfelgar ofni a chrynu; a bydded i'r anghredinwyr attal eu gwefusau, canys dydd digofaint a ddaw arnynt megys corwynt, a phob cnawd a gaiff wybod mai myfi wyf Dduw. A'r hwn sydd yn ceisio arwyddion a gaiff weled arwyddion, ond nid er iachawdwriaeth,'' (gwel Athrawiaeth a Chyfammodau, tud. 132). Dyledswyddau yr Henuriaid ydyw cario yn mlaen y cyfarfodydd fel yr arweinir hwy gan yr Ysbryd Glân, yn unol a gorchymynion a dadguddiadau Duw yn y Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau, ac nid oes dim i'w gario yn mlaen yn wahanol. Mae yn ddyledswydd ar yr holl rai sydd yn dal swyddau yn yr Eglwys hon, i wneyd pob peth yn unol â dadguddiadau Duw, sef pregethu, dysgu, ceryddu, a chynghori, cyn y gallant wneuthur ewyllys Duw. Cynghorwn yr holl lywyddion i ddysgu gyda phwys a sobrwydd orchymynion Duw, fel y byddo

ofn Duw yn myned i galonau yr holl Saint; canys ofn Duw ydyw dechreu doethineb; a phwy bynag sydd amddifad o ddoethineb, sydd heb yr Ysbryd Glân. Gan hyny, ymattaliwch oddiwrth holl ofer siarad a dadleuon, ac oddiwrth bob chwerthin annuwiol, ac oddiwrth eich holl chwantau, ac oddiwrth eich holl falchder, ac ysgafnder meddwl, ac oddiwrth eich holl weithredoedd drygionus; bob amser pan y byddoch yn ymgasglu at eich gilydd yn eich tai, na fydded i ychwaneg nag un i lefaru ar unwaith, ond bydded i un lefaru ar y tro, a'r lleill i wrandaw arno, a bydded yr hyn a lefarir genych i fod er lles ac adeiladaeth y rhai a fydd yn bresennol.

Y mae dysgeidiaeth arall sydd yn hollol gyfeiliornus, yr hon a ddaeth yn wybodus i mi, yn cael ei dysgu yn ddirgel oddiamgylch y Saint, sef i guddio pechodau yn hytrach na'u cyffesu, yr hyn sydd yn hollol groes i'r Athrawiaeth a Chyfammodau ynghyd, â'r ysgrythyrau. Mae llawer wedi ymdrechu aros yn yr Eglwys hon trwy guddio eu pechodau, ond y maent oll yn dyfod i'r amlwg; lle hollol anghyfleus ydyw yr Eglwys hon i dreio cuddio pechodau; lle cuddir pechodau, yno y mae tywyllwch. Ac y mae y dynion hyny yn gweled llawer o bethau yn gyfeiliornus; ac os na ddeuant eu hunain i'r amlwg, fe ddaw Duw â hwy, naill ai trwy eu gyru hwy allan o'r Eglwys, neu trwy wneyd eu pechodau yn amlwg i'r Eglwys. Yr wyf yn eich rhybyddio chwi lywyddion ac henuriaid teithiol, i fod yn wyliadwrus, i ofalu na fydd gau ddysgeidiaeth yn cael ei dysgu yn yr eglwysi, neu rywbeth yn groes i orchymynion Duw; yr wyf yn eich galw chwi yn gyfrifol dros y Saint, a chewch roddi cyfrif yn yr amser a ddaw gerbron yr awdurdodau yn Seion. Ac O, frodyr, ymdrechwch gyda mi i adeiladu teyrnas Dduw, ac i achub y miloedd sydd yn gorwedd mewn tywyllwch; a bydded i'ch gwinllanoedd gael eu glanhau, onide, ofer i chwi ddysgwyl cael llwyddiant, heb fod eich gwinllanoedd yn lân. A bydded i Dduw eich bendithio chwi, i wneyd y gwaith y mae ef wedi ei ymddiried i chwi. Dymunwn i'r llythyr hwn gael ei ddarllen yn mhob Cangen. Bydded bendith Duw ar yr holl rai sydd yn awyddus i'w wasanaethu ef yn ffyddlawn hyd y diwedd, yw fy ngweddi trwy Iesu Grist. Amen.

WM. PHILLIPS.

14 Castle St., Merthyr Tydfil.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Aflwyddiant.—Nid yw aflwyddiant yn cymmeryd oddiwrthym ein gwir gyfeillion; nid yw ond gwasgaru y rhai a gymmerant arnynt eu bod felly.

Llyfr Mormon etto.—Yr ydym wedi derbyn oddeutu 1800 o dderbynwyr iddo erbyn hyn, ac yn credu na fethir cael 200 yn rhagor, i wneyd fyny y *ddwy fil*, fel y delo y rhifynau am geiniog yr un o'r 20fed allan. Ychydig ymdrech etto, a chaiff geiriau y Llywyd Phillips eu cyflawni, sef y gellir cael 2500 o dderbynwyr i Lyfr Mormon.

Ath. a Chyf.—Er mwyn i'r Cynnadleddau a'r Cangenau gael eu diwallu o'r rhifynau 1, 2, 3, &c., gwell iddynt brynu y rhai hyny oddiwrth y rhai a ddechreuasant gymmeryd rhai rhifynau, eithr heb eu cymmeryd i gyd. Gwell talu iddynt ddwbl bris, na bod hebddynt. Mae cynnifer o alwadau am y rhifynau 1, 2, 3, &c., fel nad oes genym ni ddigon i ddiwallu y ddegfed ran o honynt. Bydded i ni gydymdrechu chwilio etto, ac hwyrach y gellir diwallu llawer. Hoffem ninnau gael y rhifynau 2, 6, 7, a 9, sef gymmaint â phedwar o bob un, a thalwn am danynt.

At y Dosparthwyr.—Yr ydym yn danfon atoch y tro hwn ein biliau chwarterol. Mae rhai am gael biliau bob pythefnos, ebent hwy, er mwyn gwybod y prisiau! y rhai ydynt wedi eu cyhoeddi gynnifer o weithiau, ac ar bapurau mor fawr! Frodyr, darllenwch. Os yw Liverpool yn rhoi biliau bob pythefnos, ni roddant ond y cyfamswm bob chwarter. Credwn fod ein dull o wneyd busnes â'n Dosparthwyr yn gwbl ddifai; pan na fyddo yr hyn a anfonwn yn ateb i'r *order*, yr ydym yn gofalu hysbysu yn y sypyn, yr hyn sydd yn gyffelyb i *invoice*. Gofalwch rifo eich llyfrau cyn dosparthu, a'n hysbysu yn ddioed, os bydd gormod neu ry fach; canys ni allwn ni fod yn berffaith, mwy na rhyw fasgnachwyr ereill; eithr fe ymdrechwn am berffeithrwydd yn barhaus. Bydd yr elw yn Llyfr Mormon yr un fath â'r Ath. a Chyf. hyd at y 20fed rhifyn, pan y gwneir ychydig o wahaniaeth.

Rhwymo Llyfrau.—Yr ydym wedi danfon nifer fawr o'r "Ath. a Chyf." i'w rhwymo yn Llundain, mewn *embossed roan, gilt edges*, yr hwn a edrycha yn harddach na dim a gafodd y Saint hyd yma. Pawb a fyddo yn ewyllysio cael eu "Ath. a Chyf." felly, gallwn ei wneyd iddynt am 1s. 3c. yr un, trwy ddanfon llawer gyda'u gilydd. Gwnawn rwymo pob math o lyfrau ereill, yn mha fodd bynag yr erchir, yn hardd a da, ac am brisoedd mor isel â neb. Cynghorem bawb i beidio rhwymo traethodau gyda yr Ath. a Chyf., nac un llyfr mawr arall, eithr gyda'u gilydd. Pwy a rwyma draethodau gyda'i Feibl neu ei Destament?

☞ Mae rhai manau yn myned i ddyled cywilyddus etto, ac ofnwn y cyll llawer eu gogoniant yn nheyrnas Dduw, o herwydd eu hanffyddlondeb a'u difaterwch yn hyn. O, frodyr, ystyriwch gwaith pwy sydd genych.

☞ Newydd ei gyhoeddi, pris 1½c. "*Adolygiad ar Draethawd W. Jones Bethesda*, yr hwn a elwir Egwyddorion Saint y Dyddiau Diweddaf yn cael eu pwyso yn Nghlorianau Rhesymau ac Ysgrythyrau." Pris y cant, 11s.

☞ Daw y Llyfrau Hymnau Dwyieithog yn barod ar fyrder.

☞ Gofyna "Miles" am esboniad ar Luc xxi, 17, "A châs fyddwch gan bawb o herwydd fy enw i." Ein hateb yw,—

> Câs gan bawb oedd *defaid* Iesu,
> Câs gan bawb yw'r *Saint* yn Nghymru;
> Ond nid câs yw *cyfeiliornad*,
> Nac un peth ar lun *Esboniad*.

---

DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU, CANGENAU, AC EREILL, AM Y CHWARTER YN TERFYNU MEDI 30, 1851.

*Cynnadleddau.*— Sir Fynwy, £23 7s 6½c; Sir Frycheiniog, £3 14s 3½c; Sir Aberteifi, £4 3s 2c; Sir Gaerfyrddin, £15 1s 9¾c; Morganwg Orllewinol, £35 17s 1¾c; Sir Fflint, £11 15s 0¼c; Sir Gaernarfon, £14 15s 7¼c; Sir Feirionydd, £5 7s 2½c; Sir Ddinbych, £11 17s 11¾c; Sir Benfro, £1 3s 10½c; *Cangenau.*—Dinas, £1 1s 3½c; Llanilltyd, £3 11s 6½c; Pontytypridd, £4 9s 11c; Lanfabon, £1 12s 1c; Cwmbach, £6 1s 5½; Pendeulwyn, 18s 9c: Twynyrodyn, £1 2s 3c; Llandaf, £1 19s 3c; Gog, £1 1s 9c; Caerdyf, £4 1s 6½c; Aberdâr, £16 6s 3½c; Dowlais, £5 6s 11c; Hirwaun, £1 14s 10c; Rymni, £4 4s 2½c; Cwmnedd, £1 12s 2½c; Georgetown, £8 0s 7½c; Merthyr, £4 9s 1½c; Pendaren, £4 10s 3½c; Pontfaen, £1 8s 2c; Cefn, £3 3s 9c; Ynysgou, 16s 0½c; Eglwysnewydd, 8s 8c; Liverpool, 1s 7¼c; Gwernllwyn, £1 6s 6c; Ffynnon Tydfil, £2 15s 10c. *Personau.*—Robert Evans, Liverpool, £1 18s 8½c; David Davies, Clynmil, (gynt), 3s 4c; Joseph Rogers, 2s; D. Edwards, gynt o Tongwyrddlas, 6s 5c; David John, sir Gaerfyrddin 9s 6c; Jonathan J. Thomas, £1 19s 8½c.—Cyfanswm, £214 8s 2¾c. (Y gwallau i'w gwella).

TALIADAU O MEDI 19 HYD HYDREF 2.—Sir Frycheiniog, 17s 9c; Sir Gaerfyrddin, £3; Morganwg Orllewinol, £2 4s 5c; Sir Ddinbych, £4; Pontytypridd, £1 6s 6c; Llanfabon, 11s; Caerdyf, 7s 7c; Dowlais, 18s; Georgetown, 12s 5c; Merthyr, £1 6s; Ynysgou, 2s 6c; Liverpool, £1 10s; Ffynnon-Tydfil, 7s 6c.—Cyfanswm, £17 3s 8c.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 21.] HYDREF 18, 1851. [PRIS 1*g*.

## DYFODIAD MAB Y DYN.

[*Parhad o dud.* 320.]

III. AMSER EI DDYFODIAD. *Pa bryd?*

Mae llawer o wahanol feddyliau yn y byd ynghylch amser ei ddyfodiad, rhai a'i dysgwylient y flwyddyn hon yn sicr, ereill a'i dysgwylient yn y blynyddoedd o'r blaen; mae llawer a ellir ddangos o amserau nodedig, yn gystal a'r dull, wedi ei nodi gan ddynion iddo ddyfod; rhai a ddywedant ei fod wedi dyfod er dinystr Jerusalem—ereill na ddaw hyd farn gyffredinol y dydd olaf: ond y rhai mwyaf peryglus a chyfeiliornus o'r cyfan, 'rwy'n meddwl, yw'r rhai hyny a haerant nad yw i ddyfod yn bersonol ar y ddaear byth mwy; rhai hyd y nod yn Nghymru, a ddywedant y daw yr ail waith drwy ei Ysbryd i deyrnasu yn nghalonau ei bobl, ac nis gwn am un golygiad arall a glywais am ei ail ddyfodiad sydd mor beryglus â hwn i ddynion, mor groes i'r ysgrythyrau santaidd, ac mor wrthwynebol i feddwl y nef.

Y mae yn ofidus meddwl mor ddifater y mae yr oes hon am yr amser pwysig hwn. Y mae llawer hyd y nod o'r rhai a elwir yn athrawon a bugeiliaid Cymru, yn esgeuluso y pwnc pwysig hwn; a phan ofynir yr achos o hyny, dywedant nad yw o gymmaint pwys i ni ei wybod, na son am dano, ond yn unig credu yn Nghrist, ac yna y gwna efe ofalu am hyny, ac nad yw hyny ddim o'n gwaith ni.—Onid yw hyn yn gyflawniad llythyrenol o brophwydoliaeth Pedr ac ereill, 2 Pedr iii, 3, 4, "Gan wybod hyn yn gyntaf, y daw yn y dyddiau diweddaf watwarwyr, yn rhodio yn ol eu chwantau eu hunain, ac yn dywedyd, Pa le mae addewid ei ddyfodiad ef? canys er pan hunodd y tadau, y

mae pob peth yn parhau fel yr oeddynt o ddechreuad y greadigaeth." Felly y mae yn y dyddiau diweddaf onide? maent yn cyhoeddi heddwch, heddwch o flwyddyn i flwyddyn; ac am nad oes barn yn cael ei rhoi yn erbyn gweithred ddrwg yn fuan, maent yn cynnefino â chyhoeddi heddwch uwchben y bobl, ie, pan nad oes heddwch, canys y mae heddwch eisoes wedi ei gymmeryd oddiar y ddaear; er hyny, tywysogion deillion ydynt, ni wyddant hwy, ac yr wyf yn ofni mai cyhoeddi heddwch fydd gorchwyl llawer, hyd nes y daw dinystr disymmwth ar eu gwarthaf oll, fel magl, neu leidr yn y nos, yn ddisymmwth a diattreg; ac O, fel yr wyf yn tosturio wrth y trueiniaid a siomir ganddynt, nes yr wyf yn teimlo yn ddyledswydd arnaf eu rhybyddio i ffoi rhag y "llid a fydd," trwy ufyddhau i efengyl ei Fab ef. Gofynaf i chwi, Gymry, paham y byddwch mor ddeillion â chyflawni y brophwydoliaeth uchod mor gyflawn, a'r beibl genych yn eich iaith eich hunain? a ddanfonodd yr Arglwydd arnoch "amryfysedd cadarn, fel y credoch gelwydd?"

Nid yw o bwys, aie, i chwi wybod, na son am dano! nid yw y diofalwch damniol yna yn iaith y Beibl na rheswm; i'r gwrthwyneb y gorchymynodd Crist ei hun, sef "Gwyliwch a gweddiwch bob amser, ar eich cael yn deilwng i ddianc rhag y pethau hyn sydd ar ddyfod ar y ddaear, ac i sefyll gerbron Mab y Dyn. Edrychwch arnoch eich hunain, rhag dyfod y dydd hwnw arnoch yn ddisymmwth." Yr oedd o bwys i'r apostolion i wybod pa bryd y deuai, canys gofynasant iddo ef ei hun, beth fyddai yr arwydd a ddangosai neu a ragflaenai ei ddyfodiad? yr wyf yn meddwl mai dyma'r unig dro iddynt ofyn arwydd, ac nis gwn am un amgylchiad arall y buasai yn oddefol iddynt ofyn arwydd; ac ymddengys yr achlysur yn ddigon i'w hesgusodi, gan ei fod o bwys iddynt hwy wybod; ac efe a roddodd arwyddion amlwg ddigon er profi amser ei ddyfodiad. A chan ei fod yn angenrheidiol iddynt hwy wybod yr amser, pa faint mwy felly ini chwilio, ar ba rai mae diwedd yn dyfod. Mae Paul yn annog y Thessaloniaid i ddyddanu eu gilydd â'r ymadroddion hyn, sef adgyfodiad y cyfiawn, a chyfnewidiad y rhai a adawyd, a'u cipiad hwynt i fyny i'w gyfarfod yn yr awyr. Y mae yn dweyd na raid iddo ysgrifenu atynt i ddweyd yr amserau, &c., o herwydd eu bod eisoes yn gwybod hyny, medd efe, canys un o bynciau dechreuad rhai yn Nghrist yw; yr oeddynt wedi chwilio a son am hyn, nes yr

oeddynt yn ei wybod (gwel 2 Thes. iv, 18; v, 1). Wedi bod yn darlunio y dydd nodedig hwn, pan y byddai iddo blygu y nefoedd yn ei law fel llyfr, &c., dywed, "Am hyny, y mae rhaid i ni ddal yn well ar y pethau a glywsom, rhag un amser i ni eu gollwng hwy i golli. Mae Pedr hefyd yn eu dwyn ar gof am yr amser yma, 2 Pedr iii, 1, 2, "Gan gyffroi eu meddwl puraidd, trwy ddwyn ar gof i chwi: Fel y byddo cofus genych y geiriau a ragddywedwyd gan y prophwydi santaidd, a'n gorchymyn ninnau, apostolion yr Arglwydd, a'r Iachawdwr, &c. Y mae esgeulusdod o ystyried y mater hwn yn dori y gorchymyn, yn groes i'r ysgrythyr, ac yn peryglu eneidiau dynion, gan gyhoeddi heddwch pryd nad oes heddwch iddynt, ac yn dweyd wrthynt ei fod yn oedi ei ddyfodiad, ac na ddaw yn eu dyddiau hwy, neu nad oes addewid o'i ddyfodiad i'r ddaear; o achos hyn y daw y dydd hwnw megys lleidr y nos, fel y dywed Pedr, "Yn yr hwn y nefoedd a ânt heibio gyda thwrf, a'r defnyddiau gan wir wres a doddant, a'r ddaear a'r gwaith a fydd ynddi a losgir; a chan fod yn rhaid i'r rhai hyn i gyd ymollwng, pa fath ryw ddynion a ddylech chwi fod mewn santaidd ymarweddiad a duwioldeb, yn dysgwyl ac yn brysio at ddyfodiad dydd Duw, yn yr hwn y nefoedd gan losgi a ymollyngant, a'r defnyddiau gan wir wres a doddant? O herwydd paham, anwylyd, gan eich bod yn dysgwyl y pethau hyn, gwnewch eich goreu ar eich cael ganddo ef mewn tangnefedd. A chwi yn gwybod y pethau hyn o'r blaen, ymgedwch rhag eich arwain ymaith trwy amryfusedd yr annuwiol," (gwel 2 Pedr iii). "Gan chwilio pa bryd neu pa ryw amser yr oedd Ysbryd Crist yn eu hysbysu, pan oedd efe yn rhag-dystiolaethu dyoddefaint Crist, a'r gogoniant ar ol hyny. Gan wregysu lwynau eich meddwl, a bod yn sobr, gobeithiwch yn berffaith am y gras a ddygir i chwi yn nadguddiad Iesu Grist." "Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y Dyn."

Yn awr, gan fod coron wedi ei rhoddi yn nghadw erbyn y dydd hwnw, i bawb a garant ei ymddangosiad Ef, yna y mae o bwys i bawb ddeall, nid yn unig y dull, ond amser ei ddyfodiad hefyd, rhag i'r dydd hwnw ddyfod arnynt yn ddisymmwth fel lleidr; ac os na ddeallwn amser ei ddyfodiad, pa fodd y gallwn obeithio yn berffaith am y gras a ddygir i'r rhai hyny (a'r rhai hyny yn unig sydd yn gobeithio, yn dysgwyl am, ac yn caru ei ymddangosiad

Ef). Gwelwn fod y mater hwn yn un o bynciau dechreuol yr Eglwys apostolaidd, a bod yr Iesu yn dweyd amryw bethau ag oedd i ragflaenu yr amser hwn, a hyn fel y byddai i'r Saint ddeall a dyrchafu eu penau, gan fod amser eu hymwared yn nesâu, ac am iddynt wylio a gweddio, a gobeithio; a pha fodd y gallant obeithio heb obaith, a pha fodd y gallant gael gobaith heb wybodaeth am dano? ac felly yr wyf yn ofni y bydd yr oes hon, yn mhlith crefyddwyr ereill, yn cyhoeddi heddwch, yn gwadu ei ddyfodiad yn bersonol ar y ddaear, gan ysbrydoli y prophwydoliaethau a ddangosant hyny yn eglur, nes cael eu dal â'r maglau, trwy gamsynied ei *ail* ddyfodiad, fel y methodd yr Iuddewon ei adnabod yn ei ddyfodiad cyntaf trwy yr un modd. Gwelwn fod o bwys i ni ddeall y peth, o herwydd fod nid yn unig y prophwydi, ond yr apostolion, yn ein hannog i chwilio pa amser y mae yr Ysbryd yn cyfeirio, pan y rhag-ddywed am ei ddyfodiad; ond y mae yr amser wedi ei ddangos mor eglur, fel mae yn hawdd (ond bod yn ddiduedd) ei ddeall.

Gwrthddadl.—Dywed rhai fod y pethau hyn wedi eu cyflawni, bod Mab y Dyn wedi dyfod yn ninystr Jerusalem; o herwydd wedi nodi yr holl bethau uchod, mae yn adn. 34, "Yn wir meddaf i chwi, nid â y genedlaeth hon heibio hyd oni wneler hyn oll."

Ateb.—Mae y gosodiad yna fel pe bai yn cadarnhau yr haeriad cyntaf; etto ond sylwi, mae yr ail feddwl yn dangos y cyfeiliornad o hyny, ac yn ei ddangos yn anmhosibl, a phe byddem yn taflu golwg dros y pethau a enwir gan Grist yn flaenorol, y rhai oeddynt i gymmeryd lle yn gyntaf, cawn weled nad oedd efe yn cyfeirio mewn un modd at yr oes hono ag oedd ef yn byw ynddi, na'r genedlaeth oedd yn oesi y pryd hyny ychwaith; o herwydd efe a ddywed wrth ei ddyscyblion yn adn. 3, a hyny mewn atebiad i ddau ofyniad pwysig iawn; ar yr ateb i'r cyntaf yr oedd eu bywyd hwy yn ymddibynu, ac ar adnabod a deall yr ail y mae bywyd pob un o honom ninnau yn ymddibynu yn yr oes hon; o ganlyniad, ceisiwn ei ddeall fel y cyfryw.

(*I'w barhau.*)

---

## NODIADAU W. GIBSON AR LYFR MORMON.

Mr. Gol.,—Oblegid i mi gael llesâd fy hun oddiwrth y nodiadau uchod o eiddo y brawd Gibson ar Lyfr Mormon, tybiais y gallai

yr un nodiadau wneuthur lles i ereill, trwy ddiwyllio eu meddyliau, a'u cyfoethogi â rhesymau dros gredu yn nwyfoldeb y cyfryw lyfr. Fy nymuniad yw ar i fendith Duw ddilyn y nodiadau hyn yn mhob man lle yr elont.

Yr eiddoch yn Nghrist,

*Llwyn-y-gell, Ffestiniog.* DAVID ROBERTS.

---

GAN fod ein ffydd yn Llyfr Mormon, fel hanes am gyn-drigolion America, ysgrifenedig trwy orchymyn Duw, dadguddiedig trwy weinidogaeth angel, a chyfieithedig trwy ddawn a galiu Duw, yn cael edrych arno gan y genedlaeth hon fel prawf o ddirfawr ffolineb ac anwybodaeth Saint y Dyddiau Diweddaf yn gyffredinol; myfi a roddaf ychydig o resymau dros gredu yn nysodiad allan y cyfryw hanes, ei fod yn berffaith gyduno â rheswm, ysgrythyr, ac â chymmeriad Duw.

Dechreuaf trwy ddyfynu tystiolaeth Paul yr apostol, Act. xvii, 24—26,—"Duw a wnaeth y byd, a phob peth sydd ynddo, gan ei fod yn Arglwydd nef a daear, nid yw yn trigo mewn temlau o waith dwylaw; ac nid â dwylaw dynion y gwasanaethir ef, fel pe bai arno eisieu dim; gan ei fod ef yn rhoddi i bawb fywyd ac anadl, a phob peth oll; ac efe a wnaeth o un gwaed bob cenedl o ddynion i breswylio ar holl wyneb y ddaear, ac a benodd yr amseroedd rhagosodedig, a therfynau eu preswylfod hwynt." Oddiwrth y brawddegau hyn dysgwn yn gyntaf, pa le bynag y canfyddwn ddynion ar wyneb y ddaear, eu bod hwy oll o'r un gwaed (ac yn hiliogaeth Duw, gwel adn. 29): ac os deuai un dyn i'r byd mewn oes dywell ac anwybodus, ac un arall mewn oes oleu a deallgar, Duw yw yr hwn a benododd yr amseroedd rhagosodedig, a hwnw fyddai yr amser nodedig i ni breswylio ar y ddaear, wedi ei benodi o'r blaen gan Dduw; ac nid hyn yn unig, ond y man neillduol o'r ddaear y byddai i ni drigo ynddo: gan hyny, os ydyw un rhan o'r hil ddynol yn cael eu geni yn Mhrydain, rhan arall yn Hindostan, rhan arall yn Twrci, a rhan arall yn anial-diroedd America, Duw a osododd derfynau eu preswylfanau hwynt.

Yn nesaf cymmerwn dystiolaeth Pedr am gymmeriad Duw. Act. x, 34.—"Yna Pedr a agorodd ei enau, ac a ddywedod, Mewn gwirionedd yr wyf yn deall nad yw Duw yn dderbyniwr wyneb, ond yn mhob cenedl yr hwn sydd yn ei ofni ef, ac yn gweithredu

cyfiawnder, sydd gymmeradwy ganddo ef."—Gwel dystiolaeth Paul hefyd. 1 Timotheus ii, 3, 4.—"Canys hyn sydd dda a chymmeradwy gerbron Duw ein Ceidwad, yr hwn sydd yn ewyllysio bod pob dyn yn gadwedig, a'u dyfod i wybodaeth y gwirionedd." Yma gofynwn, a allai dyn ofni Duw, yr hwn ni chlybu am dano? a allai dyn weithredu cyfiawnder, heb wybod ei ewyllys Ef? Drachefn, os yw Duw yn ewyllysio bod pob dyn yn gadwedig, a all dyn gael ei achub heb ffydd yn Iesu Grist? Os na all, pa fodd y cred dyn yn yr hwn ni chlybu am dano? a pha fodd y clyw heb bregethwr? a pha fodd y pregethai oddieithr iddo gael ei anfon? Gwel Rhuf. x, 14. Os ydyw Duw, fel y dywed Paul, yn ewyllysio i bob dyn ddyfod i wybodaeth y gwirionedd, yr ydym yn cael nad ellir cyrhaedd y wybodaeth hono heb ddadguddiad. Dyma fel y dywed Iesu Grist ar y pwnc hwn. Ioan xvii, 3.—"A hyn yw y bywyd tragywyddol, iddynt dy adnabod di, yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonaist, Iesu Grist." Gan hyny, os mai bywyd tragywyddol yw adnabod y gwirionedd hwn, pa fodd y mae y wybodaeth hon i'w chael? Gwel Luc x, 22.—Yr Iesu a ddywedodd, "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad, ac ni ŵyr neb pwy yw y Mab ond y Tad, na phwy yw y Tad ond y Mab, a'r neb y myno y Mab ei ddadguddio iddo." Yna gwelwn fod yn anmhosibl i ddynion gael eu hachub heb ddadguddiad. Pa fodd y clywant heb bregethwr, a pha fodd y pregethant oddieithr i Dduw eu hanfon hwy?

A ddarfu Duw erioed roddi dadguddiad, a danfon dynion ysbrydoledig i bregethu i unrhyw ddosparth o ddynion? O, do, yr ydym yn dywedyd iddo ddanfon rhai yn y dyddiau cyntefig i Asia, i Affrica, ac i Ewrop; ond yr holl bethau hyn a aethant heibio, ac nid oes neb ond yr ofergoelus Formoniaid yn credu fod Duw erioed wedi roddi dadguddiad, neu fod ganddo yr un pregethwr ysbrydoledig yn yr America. Paham na bu, fy nghyfeillion Cristionogol? a allai dynion cochion America gael eu hachub heb ddadguddiad? Na allent, neu fe gamddywedodd Crist; onid ydynt hwy o'r un gwaed â ninnau? Ydynt, neu fe gamddywedodd Paul; onid Duw a osododd i'r cochddyn derfynau ei breswylfod? Yn awr, profwch i mi fod Duw wedi rhoddi dadguddiad, ac anfon dynion ysbrydoledig i Asia, i Affrica, ac i Ewrop, ac heb wneyd felly â'r America; yr ydych chwi wrth hyny yn profi fod Duw yn dderbyniwr wyneb, Pedr yn gelwyddog, a'r

Bibl yn chwedl; felly, fy nghyfeillion Cristionogol, cymmerwch eich dewis.

(*I'w barhau.*)

---

## CYFIETHAD LLYFR MORMON.

Mr. Gol.,—Nis gall fy nghalon beidio â llawenhau a llamu mewn gorfoledd wrth weled fod yr amser yn ymyl, i'r Cymry gael eu breintio â chyfieithad o'r llyfr rhyfeddol a buddiol hwnw, sef Llyfr Mormon, i'r Gymraeg. Ac yn wir, pe buasai beirdd Cymru ddim ond iawn ystyried y peth mawr hwn sydd ar gymmeryd lle yn eu hoes, annichonadwy fuasai i'w dawn farddonol beidio â chynhyrfu, a chanu mewn gorfoledd mawr; canys tra mae y llyfr hwn yn yr iaith Saesoneg, nid yw ei oleuni i'r Cymry ond megys goleuni y lloer; ond pan y cawn ef i'n iaith Gymraeg, cawn ef megys goleuni haul. Ac wrth weled fod yr amser hwnw gerllaw, fy ysbryd a lawenychodd, a'm dawn farddonol a ennynodd ynof; o ganlyniad cenais fel y canlyn:—

Llawenhawn, y Cymry uniaith,
  Cawn ein dymuniadau oll,
Sef cyfieithad Llyfr Mormon
  I'n iaith gysson a digoll:
Daeth cyflawnder yr amseroedd,
  I Dduw'r nefoedd roi i ni,
Y dirgelion roes i Mormon,
  A'i gydweledyddion cu.

Dyma'r llyfr fu hir flwyddau,
  Sef am bedwar cant ar ddeg,
Yn y ddaear yn Nghumorah,
  Fel rhyw drysor prydferth teg;
Hwn fu megys haul machludol
  Am y cyfryw amser maith:
'Nawr mae megys haul dyscleiriol
  Yn cyfodi i wneyd ei waith.

Ymledaenu mae ei 'leuni,
  Trwy wahanol ieithoedd byd,
'Nawr mae'n cyrhaedd at y Cymry,
  O mor hyfryd llona'n bryd;
"A'r dydd hwnw y rhai byddar
  Glywant eiriau'r llyfr hwn,
Llygaid deillion welant allan
  O niwl a thywyllwch," gwn.

Mae goleuni'r Llyfr mor danbaid,
Nes mae'n dylu'r llygaid gwan,
Ond cryfha y llygaid eilwaith,
Gwell y gwelant yn y man;
Gwrthddrych syndod mawr i Gymry,
Fydd Llyfr Mormon pan y daw,
Yn yr iaith eu ganed ynddi;
'Nawr mae hyny braidd ger llaw.

*Fflint.* THOMAS CONWAY.

---

## Y MORMONIAID.

[A gopïwyd o'r "New York Tribune" gan "Reynold's Newspaper."]

MAE y Mormoniaid wedi ail-feddiannu ei hen orsaf yn Nyffryn Carson, a chyda llawer mwy o liosogrwydd, a bwriadant ymsefydlu ynddo yn barhaus. Dymunant feddiannu yr oll o hono, ac yn eu dwylaw hwy daw yn dra gwerthfawr, gan mai dyna yr unig le cyfleus i ymsefydlu rhwng eu tiroedd hwy yn Nyffryn y Llyn Halen Fawr a Chalifornia. Mae yr holl ddyffryn yn cael ei ddyfrhau yn dda, ac yn cael ei orchuddio gan borfa rhagorol. Wrth yr enw "dyffryn" y meddylir y rhan hono o'r wlad a ellir ei gwrteithio, ag sydd yn gorwedd ar odre y mynyddoedd, yn ogleddol, ac yn wynebu y Llyn Halen Fawr, ac ynghylch pum milltir ar hugain o hyd, wrth bymtheg o led. Mae y Mormoniaid wedi estyn eu sefydliadau ar odreu y mynyddoedd, yn ogleddol, ac yn wynebu y Llyn Halen Fawr, am ddeg a deugain o filltiroedd, ac yn agos i'r Bear River Ferry. Maent yn cymmeryd i fyny yr holl diroedd yn y Dyffryn yn gyflym. Meddianna a pherchenoga pob un yr hyn a allo amgau a gwrteithio. Yn gyffredin ymfoddlonant ar bob o dyddyn bychan, sef o ddeugain i gan erw. Y maent yn bobl ddiwyd iawn, ac y mae eu diwygiadau yn ddefnyddiol a da. Eu tai ydynt fychain a thaclus, wedi eu hadeiladu o "adobes," y rhai a wneir o glai glâs. Mae ganddynt felinau yn y *kanyons* mynyddig: a chymmynant lawer o goed y rhai a werthant yn y ddinas am 50 dolars y fil (troedfeddi). Mae'r Mormoniaid wedi myned ynghyd â gwneuthur rheilffordd i'r mynyddoedd, am oddeutu saith neu wyth o filltiroedd, er cludo defnyddiau ar hyd-ddi at eu teml fawr. Mae y ddinas yn gorchuddio llawer o dir, a hi yw y ddinas fwyaf gwledig efallai

yn y byd, gan fod pob dyn yn cael erw a chwarter at ei dy a'i ardd. Mae y cyfrif a wnaed ganddynt hwy eu hunain yn gwneyd y ddinas a'r sefydliadau amgylchynol yn 18,000.

[Gallwn sylwi nad oes neb yn America, lle y gwyddis oreu, yn beiddio dweyd fod y Mormoniaid yn ddynion diog a segur, fel yr awgryma aml ddyn anwybodus yn Nghymru. Os oes rhai yma heb fod yn gweithio â'u dwylaw, nid yn ddioglyd y maent, eithr yn ddiwyd yn ngwaith Duw.—Gol.]

---

## Y "GYMRAES" A'R MORMONIAID.

Yn nechreu y mis hwn, cyfarfuasom, am y waith gyntaf, â'r "Gymraes" o Gaerdyf, a deallasom yn union fod rhywbeth ganddi i ddweyd am y Mormoniaid ; ac er mwyn cael gwrandaw arni, rhoddasom ddwy geiniog iddi am ddyfod gyda ni gartref. Ond, druan o honi, yr un hen glec sydd ganddi hithau hefyd, sef twyll mawr Joseph Smith a'i Lyfr Mormon. Beth ŵyr y "Gymraes" am Joseph Smith a Llyfr Mormon? Dim—dweyd y mae ar ol pobl ereill, y rhai ydynt wedi eu profi yn gelwyddog lawer o weithiau. Nid oes genym amynedd yn bresennol i ateb y chwedlau a ddywed y "Gymraes" wrthym; darllened yr amrywiol draethodau, yn Gymraeg a Saesneg, a gyhoeddwyd gan y Mormoniaid, er cael gwybod yn amgenach. Ond y mae un peth a ddywed yn teilyngu ychydig o'n sylw, sef yr hyn a ddywed ynghylch "Cadben D. J." a'i "wraig ysbrydol," ynghyd â'r pump ar hugain sydd gan y llywydd. Nad pwy a ysgrifenodd hyn mewn llythyr, y mae y Gymraes, wrth ei gyhoeddi yn ei misolyn, yn troseddu cyfraith y wlad: ac ni wnelem synu, pan gyrhaeddo Capt. D. Jones yn ol yma, os caiff y Gymraes hon ac ereill, eu cospi, am eu cabl-draeth. Mae Ieuan Gwynedd, pen y Gymraes, yn meddwl efallai y gall ddianc, o herwydd nad yw wedi enwi yr enw yn llawn; eithr diffyg deall yw hyny. Dichon y caiff ei ddysgu yn well, oddieithr iddo edifarhau yn fawr; mae yn bryd i roddi taw ar ddynion sy'n dweyd *gormod* o gelwydd, hyd y nod pe byddent Barchedigion. Yn nhud. 304 o'r "Gymraes" dan sylw, dywed, "Os gwir y pethau hyn [am Capt. D. J. &c.] mae yn ddyledswydd eu cyhoeddi er mwyn Mormoniaid, ac er mwyn y cyffredin. Os nag ydynt yn wir, trueni fod y fath chwedlau yn cael eu lledaenu." A glywch chwi y "Gymraes" yn addef ei bod

yn cyhoeddi cabldraeth o'r natur waethaf, cyn mynu gwybod a yw y peth yn wirionedd! Dyma ddysgeidiaeth i ferched Cymru! eu dysgu i droseddu cyfraith y wlad! Ni wnelai Capt. D. J. fwy na hyny, pe cadwai "wraig ysbrydol." Gobeithiwn y cymmer golygyddion rybydd o hyn allan, na fyddont yn rhy barod i fyned i'r fagl: y mae amryw ynddi yn bresennol, a pharhant ynddi hyd nes y gwel "y Capt. D. J." yn dda eu gollwng yn rhydd. Gobeithiwn na fydd y "Gymraes" yn "golofn halen" i'r golygyddion, yn lle "Dinas y Llyn Halen yn golofn halen i ddynoliaeth."

## Y PEDWERYDD AR HUGAIN O ORPHENAF.

CYNNALIWYD gwyl yn y Dyffryn eleni etto, ar y diwrnod uchod, er cof am ddyfodiad y Pioneers i'r lle. Groesawyd brenin y dydd gan swn magnelau, a pheroriaeth hyfryd yn dylifo o'r cerbyd mawr cerddorol. Gorymdeithiwyd fel arferol, a chynnwysai yr orymdaith Gor prês Nauvoo, y côr milwraidd, *pioneers* '47, y rhaglawiaeth, yr hen dadau, bechgynach, y rhai a ddilynid gan famau yn Israel, genethod, gwyr ieuainc, a merched ieuainc, y Llywyddiaeth, ynghyd â swyddogion y Diriogaeth. Ar eu hol yr oedd y pedwar esgob ar hugain, yn bedwar ochrog: a gellir dweyd am y banerau, yr arwyddluniau, y beroriaeth, &c., nas gellid eu baeddu ond gan fyddinoedd y nef. Treuliwyd y dydd yn y modd dedwyddaf, trwy areithio, canu, &c.; ac yn yr hwyr caniatawyd ychydig o ddawnsio. Nid oes arferiad yno o yfed diodydd meddwol, eithr y mae pawb yn rhydd o'u cynhyrfiad, ac am hyny, yn alluog i fwynhau eu hunain yn well. Nid oes hanes cyflawn wedi dyfod etto; a phe buasai genym, nis gallem gael lle iddo y tro hwn, beth bynag am y tro nesaf.

## WILLIAM THOMAS ETTO.

MR. GOL.,—Y mae yn llawen iawn genyf i'ch hysbysu fod yr eglurhad a roddasoch chwi, ynghyd â'r hyn a dderbyniais gan eich llywydd William Phillips, ar y manau ag oedd yn ymddangos i mi fel pe buasent yn groes i'w gilydd, wedi rhoddi i mi lwyr foddlonrwydd. Yr wyf yn teimlo yn ddiolchgar i Dduw am hyny; o herwydd pe buaswn wedi cael fy ngadael yn y tywyllwch, ynghylch y pethau hyny, buasai fy mywyd i mi yn boen, o

herwydd fod y rhesymau ag oedd genyf dros fod y gwaith o Dduw gymmaint yn gryfach nag oedd y rhai ag oedd yn fy nhueddi idd ei ammau. Yr wyf yn awr yn gwybod trwy brofiad mai caled i'w gwingo yn erbyn y symbylau; ceisiais lawer gwaith i galedu fy hunan, a pheidio sylwi arnoch chwi na'ch crefydd, ond nis gallswn, er ymdrechu fy ngoreu i hyny. Yr oedd fy meddyliau yn anesmwyth ddydd a nos. Yr oeddwn yn ymneillduo fy hun oddiwrth fy nghydweithwyr ar brydiau bwyd, gan gymmeryd arnaf fod yn cysgu, er mwyn cael llonyddwch ganddynt i fyfyrio am ryw ffordd i gael fy meddwl yn esmwyth; ond methu yr oeddwn o hyd, nes i'm gael fy ngoleuo genych chwi. Y mae Duw yn gwybod mai gwir yw yr hyn ag wyf wedi ddweyd. Yn awr, yr wyf yn gofyn maddeuant genych chwi yn bersonol am y cwbl ag ydych wedi weled ynof allan o le.

Yr wyf hefyd yn gofyn maddeuant gan yr holl Saint am bob peth ag y maent wedi weled allan o le ynof. Yr wyf hefyd yn gofyn am ran yn eu gweddiau, ar i'r Arglwydd fy'm nerthu i gadw y penderfyniad sydd ynof yn bresennol hyd fy niwedd; ac hyny yw, sef cymmeryd fy medyddio yn ddioed, a byw yn ostyngedig yn eich plith hyd fy niwedd; oblegid heb i mi wneyd hyn, nis gallaf fod yn esmwyth yn y byd hwn; a pha fodd y bydd arnaf yn y byd a ddaw? nis gallaf ddysgwyl llai nâ bod yn euog gerbron y Barnwr. Nis gallaf dwyllo fy hun fod yn bosibl i mi ryngu ei fodd trwy uno â rhyw blaid arall, o herwydd nad oes un o honynt yn debyg i gredinwyr Efengyl Iesu Grist; a pha les yw ymuno ag anghredinwyr.

Yr eiddoch, &c.,

WILLIAM THOMAS.

[Mae yn dda genym weled ein gohebydd yn edifarhau, yn ol ein dymuniad mewn rhifyn blaenorol; ac yr ydym yn teimlo yn llawen i roddi maddeuant iddo. Gall ddysgwyl goleuni gwell o hyn allan, er deall gair Duw. Nis gellir dyfod o hyd i feddwl ymadroddion Duw trwy ymddadleu ynghylch geiriau; canys ar y goreu y mae iaith dyn yn anmherffaith iawn. Ysbryd Duw yn unig sydd yn amgyffred pethau Duw; ac os byddwn heb Ysbryd Duw, nid oes o euni ynom, serch meddu ar gynneddfau da. Am hyny, gweddied y Saint am oleuni Ysbryd Duw, fel na byddont mewn tywyllwch; canys os ânt i ormod tywyllwch, nis gallwn ni, na neb arall, eu goleuo hwynt, oblegid y byddant yn gwybod gormod eu hunain.—GOL.]

## AR FARWOLAETH YR HENURIAD J. H. FLANIGAN.

TON—"Sweet Jessie."

O, FLANIGAN, Flanigan, pa'm ein gadawaist,
Yn nghanol hen Fabel ormesol i fyw,
'R hon yn ddiarbed sy'n llygru ei deiliaid?
Heb arswyd dibrisia bur ddeddfau ein Duw;
Tra buost ti yma, ti wnest ein hamddiffyn
Yn ngwyneb pob dyfais, ac enllib, a brad,
Y ti oedd ein tarian rhag saethau y gelyn,
Y ti oedd ein twr, ie, ti oedd ein tad.

Trwm iawn oedd y ddyrnod, a mawr yw ein galar,
O golli'r fath wron rhinweddol â thi;
A geiriau y bywyd y gwnaethost ein porthi,
Rhag erchyll dymhestloedd y noddaist nyni;
Ac etto rhag syrthio rhwng carnau y cadfarch,
Yr hwn sydd am ddifa anwyliaid y nef,
O danfon, O danfon, o lysoedd gogoniant,
Ryw angel galluog i lanw dy le.

(ATTEBIAD YR YSBRYD.)

Chwi anwyl blant Seion, ar Dduw ymorphwyswch,
Paham y galarwch 'rol gwrthddrych mor wael?
Chwi bleidwyr gwirionedd, eich penau dyrchefwch;
Os ydych mewn blinfyd, mae gwynfyd i'w gael.
Cyhoeddwch trwy'r gwledydd efengyl yr Iesu,
Ymdrechwch i gadw'ch calonau yn bur;
Gwrandawed pob corlan ar lais ei dewr fugail,
Ac yna diogel a fyddwch yn wir.

Er cael eich gwarthruddo, eich gwrthod, a'ch erlid,
Bob ennyd gan au grefyddolion y byd,
Ystyriwch mai felly ca'dd T'wysog y Bywyd,
Ac felly'r addawodd i chwithau i gyd:
Er dryllio'ch pabellau gan d'wysog marwolaeth,
Drachefn ymddangoswch yn llysoedd y gwawl,
Ac yno yn mhlith y nefolaidd fodolion,
I Dduw am ei arfaeth y seiniwch ei fawl.

*Merthyr.* JOHN REYNOLDS, IEU.

---

## ATEBIAD I "DAFYDD DYWEYD-Y-GWIR" YN YR "YMOFYNYDD" AM HYDREF, TUD. 236.

MR. GOL.,—O herwydd dau beth yr ydwyf yn anfon yr atebiad hwn i'r UDGORN, yn hytrach nag i'r "Ymofynydd," sef am nad wyf yn hollol gredu yr ymddangosai yno, fwy na'm hatebiad olaf

i Philolethes; ac o herwydd y bydd fy llefervdd yn uwch mewn UDGORN, ac y cyrhaedda yn mhellach, ïe, i glustiau Dafydd o bosibl, os nid yn mhellach.

Cyfeiria Dafydd ei lythyr ataf yn bersonol, a thystia "nad oddiar chwim neu ddrygnaws, y cyfeiriaf yr ychydig linellau hyn atoch chwi J. R., Dinas, ond ar ddymuniad o'ch argyhoeddiad." Felly yn siwr, Dafydd; a oes genych chwi Ysbryd Duw? "Na," meddai Dafydd, "nid wyf yn sicrhau hyny fel y *Mormons*." Wel, ynte, pa fodd y dichon i chwi i'm hargyhoeddi i heb Ysbryd Duw, oblegid efe sydd yn argyhoddi y byd o bechod, o gyfiawnder, ac o farn; ac yn gymmaint â'ch bod chwi yn amddifad o'r Ysbryd uchod, yr ydych yn analluog i'm hargyhoeddi i o farn; felly, Dafydd, ni all eich saethau fod namyn rhai brwynaidd ac aneffeithiol i gyrhaedd yr amcan. Gadawaf yn ddi-sylw eich collfarn am danaf, gan na osodwyd chwi yn farnwr arnaf, a chofiwch ddywedyd o'r ysgrythyr, mai "â pha farn y barnoch, i'ch bernir."

Dywedasoch hefyd i mi ddywedyd, fod yn yr eglwys y perthynaf iddi, brophwydi, llefaru â thafodau, cyfieithu, a bod genyf dystiolaeth, &c. Gwir, Dafydd, yr ydych chwithau wedi tystio yr un pethau, ond eich bod wedi cyfnewid yn eich barn erbyn hyn, mai eiddo Baal yw y prophwydi, a bod y cyfieithu, &c., yn dwyllodrus. A fuoch chwi, Dafydd, ddim yn tystio, mai dwyfol, a gwirioneddol ydyw y rhai hyn fel finnau? Os do, gofynaf, pa bechod a wnaethoch yn achosi eich diarddel? a phaham y tystiasoch hyny, heb wybod yn sicr yn mlaen llaw? efelly, Dafydd, chwi fuoch yn euog o'r hyn y cyhuddwch fi o hono; yr ydych yn athrodwr felly. "O," meddai Dafydd, "ni fum i yn tystio fel y gwna y seintiau." Wel, beth oedd eich neges chwi, i gwrdd a chymdeithas y Saint? ai dyfod yn ddyn tàl anmhlygedig i mewn i yspio ein rhyddid a wnaethoch? ac aros yno dalm o amser, i chwilio gwallau ar y rhai oedd ag awdurdod i'ch dysgu, yn lle plygu yn ddyn bach a gostyngedig gerbron Duw, a gofyn iddo am dystiolaeth o ddwyfoldeb y grefydd Formonaidd.

Darfu i chwi brofi fod yn yr eglwys brophwydi, trwy yr esiampl o'r brophwydoliaeth am y Cholera. Daeth y brophwydoliaeth i ben yn llythyrenol, ond fod Dafydd wedi "cwtogi llawer" arni yn ol ei dystiolaeth ar ddiwedd ei ysgrif; felly pan ddaeth y pla,

gwnaeth ddinystr anferthol ar ddynion, ac efe a afaelodd yn un o bregethwyr y Saint, yr hwn a waeddodd "Doctor, doctor!" bu farw, y truan, er fod yr addewid, fel y mae gyda Dafydd, i'r gwrthwyneb. Y rheswm na bai oll yn wir ydyw, o herwydd i Dafydd ddadgyssylltu yr ammod oddiwrthi; y mae yr holl brophwydoliaethau, cyfreithiau, ac addewidion Duw i'r Saint, ar ammodau, ond y mae Dafydd wedi cwtogi yr ammodau o'r addewidion cynnwysedig yn ei ysgrif ef oll, a'i dystiolaeth yw y gwn iddo "gwtogi llawer." Gwir, Dafydd, ond nid teg hyn. Dywedasoch i mi ddywedyd, na welais "un annhrefn" yn mhlith y Saint. Yn mha le, a pha fan y dywedais i hyn, Dafydd? os yw bosibl, myn-egwch, rhag i'ch enw newydd fod yn anmhriodol, a syrthio i warth trwy hyny etto. Dywedasoch fod yr "oll o'r prophwydoliaethau yn gyffelyb." Felly D., oll yn wir, pe na chwtogid hwy, oddigerth ambell i eithriad.

Yn nesaf, yr ydych am arwydd, neu wybod pwy a ysgrifenodd eich ysgrif; a ydych chwi, Dafydd wedi anghofio? neu ynte, ai heb adnabod eich hun ydych? neu, a ydych am fy nirmygu i? Tynwch eich hugan oddiam danoch, yna feallai y gall rhai o'r Saint eichadnabod, os ydych yn methu eich hun. Am eich llefaru â thafodau, a'r cyfieithadau, &c., yr ydych yn iselhau y tafodau yn îs nag eiddo anifeiliaid y maes, ond yn dyrchafu gallu Mormon i gyfieithu yn fawr, gan gyfieithu yn rhwydd iaith mwy anhawdd nag eiddo y creaduriaid direswm Nid wyf fi wedi bod yn yr un gangen â Dafydd; nis gallaf wybod am y tafodieithoedd a glywodd efe; ond am y cyfieithad, fe gafodd ei wirio, canys yr oeddech chwi Dafydd yno, ond yn awr wedi ymadael, ac yn ymdrechu niweidio y Saint yn fawr; dylai hyn eich argyhoeddi, trwy weled cyflawniad llythyrenol o'r hyn a dystiwch i chwi glywed! Dafydd, ystyriwch hyn! "O," meddai Dafydd, "fe glywais gyfieithad arall i'r un geiriau, sef "Gweddiwch, y mae fy Ysbryd yn cael ei gynnyg i chwi yn helaeth." Wel, Dafydd, nis gwn i, gan nad oeddwn yno; ond hyn a wn i, fod hyny yn ddichonadwy, a bod yr eglwys o osodiad Duw; canys y mae yn eglur fod pethau felly gynt, a phaham nad allant fod felly etto? Dywedodd Paul, "Llefared y prophwydi ddau neu dri, a barned y lleill," &c.: felly, oddieithr fod yn bosibl llefaru dan arweiniad ysbryd gau, ni fuasai raid i'r apostol ddywedyd "Profwch yr ysbrydion, ai o Dduw y maent;" a pha waith oedd i farnu, oni fuasai

fod hyn yn bod. Efelly, os clywsoch chwi, Dafydd, dyna a ddywedasoch. A oedd hyny yn sail i chwi fod y cwbl yn gau? Na, na, canys prophwydwyd y deuai y cholera, ac efe a ddaeth; cyfieithwyd fod rhai i ymadael â'r Saint, a'u niweidio yn fawr, ac ymadawodd Dafydd, ac y mae yn ein drygu. (Ddarllenydd! gwel ddrych Dafydd, druan, â'i hugan am ei ben gan gywilydd.) Dafydd, y mae fy Ysbryd Glân i yn deall pob iaith (gallwch gadw eich swllt), ond nid wyf fi yn deall beth ydyw *tara marra lal a fara*, &c.; ond gwn fod cynnydd mawr ar y Saint, ac fod yr onest yn dylifo i'n plith, a'r anonest yn myned allan. *All the better*.

Ië, meddai Dafydd, "Clywais gyfieithad arall i'r un geiriau." Y mae yn anhawdd genyf i gredu eich bod chwi, D., yn ddigon manyl-graff i ddal i fanylrwydd yr hyn a glywsoch, nac yn ddigon o stenograffiwr i'w gosod i lawr i'r tipyn fel eu llefarwyd, ond eich bod wedi dyfod i'n plith i ymofyn perffeithrwydd, a methu ei gael. Etto, nad beth a lefarodd y bachgenyn naw mlwydd oed, yr oedd y cyfieithad yn wir, yr hyn ydoedd, "Y mae rhai o honoch yr anghredu, a thyna paham y llefarais hyn." Yr oeddych chwi, Dafydd, yno, ac anghredadyn oeddych chwi; ac yr oedd Mr. *Diabele*, yn eich cynhyrfu chwi i wylo am y bachgenyn, yn lle ysbryd edifeiriol am eich anghrediniaeth anaele. Paham y darfu i chwi, Dafydd, uno â choel-grefydd baganaidd? moeswch eich rhesymau dros hyn. Eich haeriad chwi Dafydd, yw mai *phantoms of the brain* ydyw dylanwadau ysbrydol y Saint. Y neb a edrycho ar eich drych chwi, a wel mai *phantoms* (lledrithiau), o eiddo annymunol iawn, sydd yn eich cadw chwi, Dafydd, mewn cymmaint o dywyllwch, nes yr ydych yn methu gweled yr hyn oedd, ac y sydd amlwg etto i bob dyn ystyriol.

Yn awr, rhaid i mi derfynu, gan obeithio na chwtoga Dafydd ddim y tro nesaf, ac y bydd iddo ofalu yn hytrach am ei gymmeriad ei hun, nag eiddo yr "Ymofynydd;" a mawr fel y carwn iddo dynu ei hugan i lawr. Pa raid ofni arddel y gwir?

*Dinas*. J. RICHARDS.

---

## GWRAIG—MEISTRES—BONEDDIGES.

MAE y canlynol yn gyfieithad cywir o'r Ellmynaeg, yr hwn a ymddangosodd yn Saesneg yn y "Frontier Guardian:"—

"Mae yr hwn a briodo o gariad, yn cymmeryd gwraig; mae yr

hwn a briodo er mwyn cyfleusdra, yn cymmeryd meistres; mae yr hwn a briodo o ystyriaeth, yn cymmeryd boneddiges. Yr ydych yn cael eich caru gan eich gwraig, yn cael eich parchu gan eich meistres, a'ch dyoddef gan eich boneddiges. Y mae genych wraig i chwi eich hunan, meistres at eich tŷ a'ch cyfeillion, a boneddiges i'r byd. Eich gwraig a gytuna â chwi, eich meistres a ganiatâ, a'ch boneddiges a'ch llywodraetha. Eich gwraig a ofala am eich teulu, eich meistres am eich tŷ, a'ch boneddiges am ymddangosiad. Pan yn glaf eich gwraig a'ch meithrina, eich meistres a ymwel â chwi, a'ch boneddiges a ymofyn ynghylch eich iechyd. Yr ydych yn rhodio gyda eich gwraig, marchogaeth gyda eich meistres, ac ymuno mewn cwmni gyda eich boneddiges. Eich gwraig a gyfranoga o'ch gofid, eich meistres o'ch arian, a'ch boneddiges o'ch dyledion. Os byddwch farw, eich gwraig a dywallt ddagrau, eich meistres a alara, a'ch boneddiges a wisga alar-wisgoedd. Yn mhen blwyddyn ar ol eich marwolaeth y prioda drachefn eich gwraig, yn mhen chwe mis eich meistres, ac yn mhen chwech wythnos, neu yn gynt, eich boneddiges.

---

## NODIADAU, &c.

☞ Mae y rhai sydd yn gyru am lai o UDGORN yn tori yr addewid a wnaethant ar ddechreu y flwyddyn, ac yn twyllo yr Eglwys i ostwng pris y cyhoeddiad, trwy ddanfon am nifer fawr ar ddechreu y flwyddyn, ac yna eu gostwng i'r hanner. Mae y sawl sydd yn gyru am ragor i'w cymmeradwyo, a'r lleill i'w barnu yn oruchwylwyr anffyddlawn.

CYMMANFAOEDD GOGLEDDOL.—Cynnelir Cymmanfa Sir Fflint ar yr 16eg o Dachwedd; Sir Dinbych, ar y 23ain; Dyffryn Conwy, ar y 30ain; Sir Fon, ar y 7fed o Ragfyr; a Sir Feirionydd, ar y 14eg.

TALIADAU O HYDREF 3 HYD HYDREF 16.—Sir Frycheiniog, 7s 6c; Morganwg Orllewinol, £2 1s 7c; Sir Gaernarfon, £1 10s; Sir Fynwy, £8; Dinas, 14s 3½c; Llanilltyd, 3s 10c; Pontypridd, £1 11s 9c; Llanfabon, 12s 4½c; Pendeulwyn, 18s 9c; Twynyrodyn, £1 2s 3c; Llandaf, 11s 6c; Aberdar, £7 13s 5c; Dowlais, 6s 7½c; Hirwaen, 10s 6c; Rymni, £4; Cwmnedd, 2s 10c; Merthyr, £2; Pendaren, 10s 7c; Cefn, £1 0s 5c; Ynysgou, 2s 10c; Eglwysnewydd, 5s 6c; Gorllwyn, £1 6s 6c; Ffynnon-Tydfil, 4s 6c.—Cyfanswm, £35 17s 6½c.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHHR TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

Rhif. 22.] TACHWEDD 1, 1851. [Pris 1g.

## DYFODIAD MAB Y DYN.

[*Parhad o dud.* 328.]

Y gofyniad cyntaf yw, fel y gwelir yn adn. 3, "Mynega i ni pa bryd y bydd y pethau hyn." Pa bethau? adn. 2, "Ni adewir yma (y deml) gareg ar gareg a'r nis dattodir."

Yr ail ofyniad oedd, "A pha arwydd fydd o'th ddyfodiad ac o ddiwedd y byd." Mae yr Iesu yn ateb y ddau ofyniad yn bwysig, yn eglur, ac yn anwrthwynebol. Mae yn eu hateb ddwywaith, ac mewn dau ddull, fel y byddent yn sicr o ddeall. Cawn yn y bennod hon, ei fod, yn ol arferiad aml y prophwydi, yn ateb y gofyniad olaf yn mlaenaf, gan roddi crynhoad o'r pethau mwyaf nodedig a gymmerai le o'r pryd hyny hyd y diwedd; ac y mae yn eu rhybyddio i wylio rhag i'r gau gristiau eu twyllo; ac y byddai rhyfeloedd; ond er hyny, nid oedd y diwedd i ganlyn y rhyfeloedd cyntaf, sef byddinoedd y Rhufeiniaid yn erbyn Jerusalem, yr hyn a wrthbrofa yr wrthddadl ynddi ei hun, sef, er y dinystrid Jerusalem, nid oedd y diwedd, neu yr holl bethau a ragflaenant yr adnod hono. Cawn hefyd yn yr un bennod, y cyfoda cenedl yn erbyn cenedl, a theyrnas yn erbyn teyrnas; ac y byddai newyn a nodau, a daeargrynfaau; dechreuad gofidiau oedd hyn oll, mewn cymhariaeth, i'r hyn a ddeuai wedi hyny. Ac ar ol hyny cawn y deuai erlidigaeth dost ar y saint, nes lladd llawer, ac y cawsent eu casâu gan y cenedloedd er mwyn ei enw ef, pa un a gymmerodd hyn oll le yn eu hamser hwy ai peidio; ond nid yw yn debygol y gallasai hyny fod, oblegid y mae Crist yn y bennod hon yn cyf-

eirio at yr amser diweddaf; ac o herwydd yr erlidigaeth y rhwystrid llawer, ac y bradychent eu gilydd. Hefyd, y cyfodai gau-brophwydi lawer, a brawf yn hollol i'r gwrthwyneb i'r cyfeiriad cyffredinol o'r gosodiad hwn, sef, fod pob un a broffesa fod yn brophwyd, o anghenrhaid yn *au*-brophwyd; y mae y gosodiad ynddo ei hun yn profi yn anwrthwynebol y byddai *gwir*-brophwydi, neu ynte fod yr Iesu wedi arfer gair segur, o herwydd nid oedd Crist yn eu rhybyddio i ochelyd prophwydi, ond y gau; a phaham yr arferai y gair *gau*, oni bai fod *gwir*? Mae yn anmhosibl fod y blaenaf heb fod yr olaf hefyd, mwy nag y gwneid *counterfeit* ar un banc, pe na byddai y gwir filiau yn bod; felly y mae ein cyhuddwyr didrugaredd ynghylch gau-brophwydi, yn cadarnhau ein pwnc, gan ddystrywio eu hunain â'u harfau eu hunain, ac yn profi fod Crist yn dweyd pan anfonai efe wir-brophwydi, yr anfonai y diafol gau-brophwydi, yn y dyddiau diweddaf, y rhai a ddygent heresiau dinystriol i mewn, nes yr oerai cariad llawer. Eithr y cyfryw a barhaent yn ffyddlon hyd y diwedd, a fyddent cadwedig. Nid yw yn meddwl y rhai hyny a barhaent hyd ddiwedd y byd, a fyddant yn unig yn gadwedig, onide beth a ddeuai o honynt oll sydd wedi marw? nac ychwaith hyd ddiwedd y gorthrymderau a dinystr Jerusalem. Ond y mae y gair diwedd yn y fan hon yn cyfeirio at ddiwedd eu hoes, hyd angeu, ac yn profi fod eisieu gwylio a bod yn ffyddlon. Mae'n rhoi arwyddion nodedig iawn o'r hyn a gymmerai le cyn cyflawniad yr ail ofyniad, sef y deuai y diwedd, y rhai ydynt fel hyn: "a'r efengyl hon am y deyrnas a bregethir trwy yr holl fyd, er tystiolaeth i'r holl genedloedd, ac yna (ond nid cyn hyny), y daw y diwedd." Wedi dweyd y nodau hyn a ragflaenent y diwedd, y mae yn ateb y gofyniad cyntaf, sef, dinystr Jerusalem, yn yr adn. 15, "Am hyny pan weloch y ffieidd-dra anghyfanneddol," a ddywedwyd gan Dan. xi, 31; viii, 11, 12; xii, 7. Dywed Luc yn mhen. xxi, 20, yn amlwg beth yw y ffieidd-dra anghyfanneddol hwnw: "A phan weloch Jerusalem wedi ei hamgylchynu â lluoedd, yna gwybyddwch fod ei hanghyfannedd-dra hi wedi nesâu. Canys dyddiau dïal yw y rhai hyn i gyflawni yr holl bethau a ysgrifenwyd." Y lluoedd hyny oedd byddinoedd y Rhufeiniaid dan Titus; a dywed haneswyr iddo orchymyn i'w filwyr (wedi goresgyn y ddinas) ddiwreiddio ei holl seiliau, a pheidio gadael careg ar

gareg, er cyflawni y brophwydoliaeth am dani, wedi lladd dros filiwn a hanner o'r Iuddewon. Dyddiau dïal yw y rhai hyn, medd Crist; a chaethgludir hwynt i blith yr holl genedloedd, a Jerusalem fydd wedi ei mathru gan y cenedloedd, hyd oni chyflawner amser y cenedloedd; "a'r pryd hyny y bydd gorthrymder mawr, y fath ni bu (ar y genedl Iuddewig) o ddechreu y byd hyd yr awr hon, ac ni bydd (ar yr Iuddewon) ychwaith. Ac oni bai fyrhau y dyddiau hyny, ni buasai gadwedig un cnawd oll, eithr er mwyn yr etholedigion, fe fyrheir y dyddiau hyny." Yr Iuddewon yw yr etholedigion hyn; y dyddiau hyny, yw amser eu cystudd a'u caethgludiad; hŷd yr amser hwn a fyrheir, yw, medd Daniel; "hyd amser, amserau, a hanner amser, o'r pryd y darfu wasgaru y bobl santaidd." Yna y cesglir hwy i'w tir yn ol, ond hyd yr amser hwnw y byddai dyddiau dïal, i gyflawni yr holl bethau a ysgrifenwyd. Dywed Luc, "hyd oni chyflawner amser y cenedloedd. A Phaul, yn Rhuf. xi, "hyd oni ddêl cyflawnder y cenedloedd i mewn" i'r cyfammod newydd a wnai Duw yn y dyddiau diweddaf; ac yna y byddai holl Israel yn gadwedig, ddywed Moses, wedi darfod eu cospi nes derbyn yn ddwbl am eu holl bechodau, yn enwedig am iddynt ddiystyru Sanct yr Israel, a lladd eu Messiah. Gwel Deut. xxx, 4, "Pe y'th wthid i eithaf y nefoedd, oddiyno y'th gasglai yr Arglwydd dy Dduw, ac oddiyno y'th gymmerai." Ond dywed Ioan y y byddent yn wasgaredig am fil dau cant a thrugain o flynyddau, neu ddau fis a deugain, yr hyn sydd gyffelyb. Hyd yr amser hwn y byddai y gorthrymder digyffelyb ar yr Iuddewon; yn nghorff yr amser hwn, wedi dinystr Jerusalem, y deuai gau-brophwydi, a gau-gristiau, y rhai a wnaethent wyrthiau a rhyfeddodau, yr hyn, medd haneswyr, a gyflawnwyd gan y bwystfil a welodd Ioan, gwel Dad. xiii, "I'r hwn yr oedd genau yn llefaru cabledd, a rhoddwyd iddo awdurdod i weithio dau fis a deugain. Y mae efe yn gwneuthur rhyfeddodau mawrion, hyd onid yw yn peri i dân ddisgyn o'r nef i'r ddaear yn ngolwg dynion," yr hyn a gyflawnwyd yn llythyrenol. Ond y gau-gristiau hyn oeddynt i dwyllo y bobl santaidd yn fwyaf neillduol, sef, y genedl Iuddewig; a dywed haneswyr i lawer ddyfod yn yr oesoedd wedi hyny, a thwyllo llawer o'r Iuddewon, gan ddywedyd fod yr amser yn dyfod i adeiladu Jerusalem, mai hwy yw y Messiah; ac felly dinystriwyd llawer o'r Iuddewon wrth

geisio adeiladu y ddinas mewn llawer oes, a'u gwasgaru a gawsant bob tro hyd etto, fel y mae hyny yn profi nad yw amser y cenedloedd wedi ei gyflawni; er fod llawer o'r arwyddion uchod wedi eu cyflawni, etto nid yw yr oll o honynt; addefir fod yr Iuddewon yn grwydriaid dros yr holl fyd etto; felly, nis gall Crist fod yn cyfeirio at yr oes hon pan ddywedodd, "Nid â y genedlaeth hon heibio hyd oni wneler hyn oll." Heblaw fod yr Iuddewon yn eu hystâd wasgaredig yn profi y pethau hyn, sef fod yr amser gorthrymus, a'r dyddiau dïal hyny heb eu cyflawni etto, mae Crist yn dweyd, "y deuai Mab y Dyn yr ail waith fel mellten yn tywynu o'r dwyrain hyd y gorllewin, yn yn fan wedi gorthrymder y dyddiau hyny y tywyllir yr haul, y lleuad ni rydd ei goleuni, a'r sêr a syrth o'r nef, a nerthoedd y nefoedd a ysgydwir; yna y galara holl dylwythau y ddaear, a hwy (pawb) a'i gwelant ef yn dyfod ar gymmylau y nef, gyda nerth a gogoniant mawr, fel y mae y mater yn ymddangos yn blaen nad oedd y dyddiau crybwylledig wedi eu cyflawni yn ninystr Jerusalem, nac ychwaith am ddeuddeg cant a thrugain o flynyddau wedi hyny; ond cyn dyfod Mab y Dyn, y mae i anfon ei angylion (ei bysgotwyr a'i helwyr) i gasglu ei etholedigion (yr Iuddewon, a'r holl rai a ddygir i'r cyfammod newydd, trwy ufyddhau i'r efengyl, nes dyfod i adnabod Duw trwyddi, a chael hawl i fendithion Abraham, &c.,) o'r pedwar gwynt. Yr oedd hyn oll i gymmeryd lle cyn y gallai yr amser y cyfeiria Crist ato ddygwydd, pan ddywedodd, "y genedlaeth hon nid â heibio, hyd oni wneler hyn oll:" yr oeddynt yn gyntaf i syrthio trwy fin y cleddyf, ac i gael eu sathru dan draed y cenedloedd, hyd oni chyflawner amser y cenedloedd."—Gofynaf i'r rhai a haerant fod yr holl bethau hyny wedi eu cyflawni yn yr oes hono, Yn mha le y profir fod yr haul wedi troi yn sachlen flew? Fe allai mai y tywyllwch mawr hwnw a fu am dair awr, pan groeshoeliwyd Ef, a feddyliant: nid oedd hwnw ar amser ei ddyfodiad, ond ar ei fynediad ymaith o'r byd y tro cyntaf; ac yr oedd y tywyllwch mawr o flaen ei ail ddyfodiad i barhau, medd Zechariah, am dri diwrnod. Pa bryd y trodd y lloer yn waed, ac y gwelwyd holl deulu yr eigion planedol wedi dychrynu, gwylltio, gan neidio o'u cylchoedd, a ffoi o'i wyddf i eigion y gwagle? Pa bryd y siglwyd sylfaeni y nefoedd? Dywed y gwnelid hyn oll cyn ei ddyfodiad, a dywed Zechariah xvi, 6, pan ddeuai Mab y Dyn, a'i draed yn sef-

yll ar fynydd yr Olewydd, "na byddai nos mwyach, na byddai haul, lloer, na seren, yn entrych yr awyr. Dywed Pedr, Act. iii, yr adferir pob peth fel y crewyd hwy pan ddaethant oddi tan law eu Creawdwr, pan ddywedodd, "wele da iawn ydoedd." Ni ddaeth yr amser gwynfydedig hyn etto, ai do? er hyny, mae y genedlaeth hono wedi myned heibio, a dwy ar bymtheg ereill ar eu hol, ac mae pob peth yn sefyll fel yn y dechreu, heb ddyfod yr holl bethau i ben. Yna mae pelydrau tanbaid yr haulwen, pan red fel cawr ei yrfa trwy'r awyr, mae goleuni dysclaer y lloer sy'n goleuo ein camrau ar hyd tref a gwlad y dywell nos; ïe, mae yr holl lu o gyrff wybrenol, a'i *satelites* mân, sy'n teithio eu cylchoedd, yn gynnifer o dystion yn gwadu yr wrthddadl, ac yn sicrhau bob tro yr ymddangosant, nad at yr *oes hono* y cyfeiria Mab Duw pan ddywedodd, "nid â y genedlaeth *hon* heibio," &c.; ac hefyd nad oedd Mab y dyn i ddyfod yr oes hono, ond ei fod ar ddyfod yn yr amser terfynedig a osodwyd. Mae holl oleuadau yr eigion blanedol yn cyhoeddi ag un llais, Nid ydym ni oll ond wedi ein gosod i deithio ein cylchoedd am amser gosodedig; ond pan ddel y dydd nodedig hwnw, ni oll a ddiangwn i eigion tir anghof fel pethau a fu, o flaen dysclaerdeb ei bresennoldeb ef; ni bydd eisieu ein goleuni ni pryd hyn, canys Efe fydd goleuni yr holl fyd, pan ddel, ïe, mae holl drueni a griddfanau y creaduriaid dearol, holl greigiau a mynyddoedd, holl ynysoedd y byd, holl ddrain a mieri, ac ysgall y ddaear, yn ein coffâu pan deimlwn eu pigiad, pan welwn eu hanmherffeithrwydd, a phan glywn eu galar a'u hocheneidiau, yn tystio yn sicr nad yw yr holl bethau uchod wedi eu cyflawni; a phan ddaw Mab y dyn, y diflanent o'r golwg, y darfyddant o'r byd, canys bydd gelyniaeth dyn ac anifel wedi darfod, a bydd heddwch dros yr holl ddaear.

Er dangos yr anghyssondeb a'r ffolineb o'r wrthddadl uchod, gwelwn i ba le yr arwain ni. Dywed y prophwydi, pan ddel Mab y Dyn yr ail waith, y deuai ei angylion nerthol a'i holl saint gydag ef. Dywed Paul yr adgyfodir yr holl rai a fuont feirw yn Nghrist, â chyrff fel ei gorff gogoneddus ef; yna y rhai byw y rhai a adawyd a gipir i fyny i'w gyfarfod ef yn yr awyr. Dywed Esay, "Dy feirw a gyfodir, fel fy nghorff i y cyfodant;" a dywed Enoch fod yr Arglwydd yn dyfod gyda myrddiwn o'i angylion. Felly, gwelwn, os ydyw Efe wedi dyfod, rhaid fod yr holl feirw yn Nghrist wedi cyfodi, a'r holl saint ar y ddaear wedi

eu cyfnewid yn un ffurf â'i gorff gogoneddus ef; a chan eu bod i fod yn wastadol gydag ef wedi hyny, yna yr oeddynt i fod yn freninoedd ac offeiriaid i Dduw, ac i deyrnasu gydag ef ar y ddaear. Os yw hyn oll wedi ei gyflawni, a hwythau wedi dyfod, pa le y maent? Chwiliwn am danynt yn mhob congl o'r ddaear, nes y caffom hwynt; hwyrach eu bod yn rhyw gongl o honi etto! Ond dywed yr ysgrythyr, y byddai Efe yn frenin dros yr holl ddaear, a'i lywodraeth ar bob peth; y byddai holl deyrnasoedd y byd yn dyfod yn eiddo iddo Ef—y byddai gwybodaeth o hono yn llenwi y ddaear, fel y toa y dyfroedd y môr. Ni bydd raid chwilio llawer am dano; canys y dydd hwnw pawb a adnabyddant yr Arglwydd, o'r mwyaf hyd y lleiaf o honynt. Yr holl saint a fyddant gydag ef, a yn gyffelyb iddo; a'r holl annuwiolion a losgir ag anadl ei enau pan ddel! Yna, ffolineb yr wrthddadl, sef fod Crist yn cyfeirio at yr oes hono, pan ddywed, "Nid â'r genedlaeth *hon* heibio," &c.—(*I'w barhau.*)

---

## DYLEDSWYDDAU LLYWYDDION.

Mr. Golygydd,—Derbyniais lythyr dienw yn ddiweddar, ond yr oedd y person a'i hysgrifenodd yn gynghorwr, meddai ef, yn rhyw le. Nid oedd ef ddim yn hysbysu yn mha le; ac yr oedd yn gofyn am ychydig o oleuni; sef pa beth ydyw dyledswyddau cynghorwyr tuag at eu llywydd, a llywydd tuag at ei gynghorwyr? Yn awr, dymunaf, gael gwneuthur y pethau hyn yn hysbys trwy gyfrwng yr Udgorn, os gwelwch yn dda, a rhoddi ychydig o oleuni ar y pwnc.

Dyledswydd pob llywydd ydyw bod yn llywydd, ac i fynu bod yn ol yr apwyntiad ag y mae wedi ei gael, er gwaethaf pob peth; ac i ofalu na chymmero ei lywyddu gan neb arall odditano, ond yn unig gan y rhai ag sydd yn llywodraethu arno. Mae rhai llywyddion annysgedig ar brydiau dan demtasiynau, ac yn rhoddi lle i'w cynghorwyr dysgedig i fod yn llywyddion arnynt; ac yn y fan y cymmero hyny le, dacw y cert o flaen y ceffyl; ac y mae hyny yn hollol ledchwith ar y ffordd, onid ydyw? ac yn lledchwithach o lawer ar ffordd Duw. Peth da ydyw bod yn ddysgedig, ond iddynt lywodraethu eu hunain, ac i droi yn eu cylchoedd. Tuedd sydd mewn rhai dysgedigion i fyned i fyny i'r *garret*. Lywyddion, *call them down*.

Mae dosparth arall, llawn mor ddiwerth i adeiladu teyrnas Dduw, sef y rhai hyny ag sydd yn meddwl yn rhy wael am danynt eu hunain; a dyma y bobl sydd yn myned i lawr i'r *cellar*, ac y mae yn myned yn *stop tap* arnynt yno.

Y mae y ddau ddosparth yma yn myned i goll yn aml iawn, ac yr ydym yn cael rhai i fyny, ereill i lawr; ac y mae yn peri llawer iawn o drafferth i mi a brodyr ereill; ac y mae yn rhwystr mawr i gario gwaith Duw yn mlaen. Nid ydyw y byd yn un rhwystr yn y mesur lleiaf, i gario gwaith Duw yn mlaen. Yr wyf yn cyfrif y doethaf o'r doethion megys dim, ac yn rhoddi her i'r byd. Y dosparthiadau uchod, ynghyd â phechodau ereill, ydyw yr unig rai ag sydd a galluoedd ganddynt i attal yr olwyn hon i droi. Ac nid ydyw hyny ddim ond am dymmor bach, hyd nes y byddo Duw wedi dyfod i'r maes, a llefaru yn nerthol trwy ei weision, nes y byddo pob cnawd yn crynu, a phob diafol yn ffoi.

Ond cawn fyned at y pwnc. Dyledswydd llywydd ydyw caru ei gynghorwyr, ac ymgynghori â hwy y ffordd oreu i gario pethau yn mlaen; a dyledswydd y cynghorwyr ydyw caru eu llywydd. Y mae amgylchiadau yn caniatâu pan y gall y llywydd osod pethau gerbron, neu drefnu pethau, heb ymgynghori â neb; ac os byddant yn gyfleus, neu yn bresennol, byddai yn dda iddo ymgynghori â hwy. Bydd galluoedd y tri yn fwy; y mae yno dair ffydd yn lle un; a bydd eu gosodiadau yn sicr o lwyddo, os byddant mewn undeb ffydd. Goreu pa agosaf y byddant yn byw i'w gilydd, fel y gallont gyd-gario pethau yn y blaen. Nid yw yn dda iddynt fyw yn mhell oddiwrth eu gilydd, oddieithr fod yno gyfeillach aml. Gall llywydd ddweyd wrth ei gynghorwyr, dos di y ffordd yma, a dithau y ffordd acw; ac mi arosaf finnau gartref: canys yno y mae eisieu llywyddion y cangenau bob amser, oddieithr ar amgylchiadau. Nid oes neb yn alluog i wneyd y gorchwyl o lywyddu, ond y person yn unig a fydd wedi ei apwyntio. A bydded i bob cynghorwr ystyried yn fraint iddo gael ufyddhau, a chario i weithrediad, gynghorion ei lywydd. Dyna digon o oleuni yn bresennol ar hyna.

Peth arall. Bydded i lywyddion y cynnadleddau ddanfon yma i mi hanes hanner blynyddol eu cynnadleddau, erbyn y 5med dydd o Ragfyr nesaf. Dylai yr hanes gael ei wneuthur hyd y dydd 1af o Ragfyr. Y pethau wyf yn eu gofyn, yw nifer

y cangenau, arch-offeiriaid, henuriaid, offeiriaid, athrawon, diaconiaid; esgymunwyd, marwolaethau, ymfudwyd, bedyddiwyd; rhif presennol yn aelodau; ac yn mhob achos bydded i rif yr aelodau gynnwys rhif y swyddogion a'r aelodau gwasgaredig, pa rai sydd ddim yn perthyn i un gangen, ynghyd ag enw y llywydd, a'r ysgrifenydd. Bydded i lywyddion y cangenau weled fod eu hysgrifenyddion yn danfon mewn pryd hanes cywir i ysgrifenydd y gynnadledd, fel y gallo yntau eu danfon yma, mewn amser i minnau eu danfon i Lynlleifiad erbyn yr amser nodedig.

Bydded i brif-ddosparthwyr y cynnadleddau ddanfon gwybodaeth i Lynlleifiad erbyn y 10fed dydd o Ragfyr, pa nifer o'r MILLENNIAL STAR a fyddant yn ymofyn y flwyddyn nesaf, a bydded i brif ddosparthwyr y cangenau ddanfon yma i'r brawd Richard Morris pa nifer a fyddant hwythau yn ymofyn.

Un cynghor arall; bydded i lywyddion y cynnadleddau edrych i mewn, a mynu gweled fod mwy o ymdrech gyda'r Drysorfa Ymfudol Barhaus o hyn allan, nag sydd wedi bod; a bydded i Dduw eich bendithio chwi, a bendithio yr Eglwys yn Nghymru, yn enw Iesu Grist. Amen.

WILLIAM PHILLIPS.

14, Castle St., Merthyr-Tydfil, Hydref 28, 1851.

## NODIADAU W. GIBSON AR LYFR MORMON.

[Parhad o dud. 331.]

Os ydyw, gan hyny, yn rhesymol i ni gredu fod Duw wedi rhoddi dadguddiad i gyn-breswylwyr America, a fyddai yn afresymol i ni gredu y byddai iddo hefyd eu galluogi i gofnodi y dadguddiadau hyny, ac felly eu cyflwyno hwy i'w holynwyr. Oni fyddai y cyfryw yn air Duw, yn ogystal â dim a gynnwysir yn y Beibl?

Ond feallai y gofynir, os cawsant hwynt unwaith, pa fodd y bu iddynt eu colli? Atebwn, oblegid eu troseddiadau. Ai ni fu ysgrifeniadau yr Hen Destament yn golledig? Bydded i'r hwn sydd yn meddwl felly, ddarllen ail lyfr y Breninoedd, o'r xxii, 10, hyd xxiii, 4, ac yna feallai y gwel ei gamsynied; ac etto pa faint o lyfrau sydd yn eisieu yma? Mi a nodaf rai o honynt, Llyfr Rhyfeloedd yr Arglwydd, Numeri xxi, 14; Llyfr Jasher, Joshua

x, 13; Llyfr Deddfau Breninoedd Israel, 1 Samuel x, 25; Llyfr Chronicl Breninoedd Israel, 1 Breninoedd xiv, 19; Llyfr Enoch, Jude 14; Llyfr Nathan y Prophwyd, a Llyfr Gad y Gwyliedydd, 1 Chronicl xxix, 29; Llyfr Ashiah, a Llyfr Ido y Gwyliedydd, 2 Chronicl ix, 29; a Llyfr Semaiah y Prophwyd, 2 Cronicl xii, 15; Llyfr Jehu, 2 Chronicl xx, 34; Llyfr y Gwyliedyddion, 2 Chronicl xxxiii, 19; Histori Llyfr y Breninoedd, 2 Chronicl xxiv, 27. Onid oedd y llyfrau hyn cystal ysgrythyrau â'r rhan arall o'r Hen Destament? ac os bydd iddynt byth ddyfod i'r amlwg, oni fyddwn mor rhwymedig i'w derbyn hwy â'r rhan arall o'r ysgrythyr? Nac ydym, dywedir, oddieithr i ni gael gwell prawf o'u gwirionedd nag a gawsom o wirionedd Llyfr Mormon.

Dywedwch i mi pa brawf sydd genych am y rhan o'r Hen Destament yr hon a gollwyd, ac a gafwyd gan Hilkiah, ei fod yn gyfraith Duw? Darllenwch y dyfyniadau uchod, yna gwelwch nad oes genych yn unig ond tystiolaeth mab a merch, sef Hilkiah a Huldah. Ai ni chollwyd erioed mo ysgrifeniadau y Testament Newydd? Dyn o synwyr cyffredin ni ddywed y fath beth: a ydynt hwy oll ar gael? os oes neb yn meddwl hyny, bydded iddo ddarllen y brawddegau canlynol, 1 Corinthiaid v, 1; Ephesiaid iii, 3; Colosiad iv, 16; Luc i, 1. A phe byddai iddynt ddyfod i'r amlwg, pa fodd y profech eu gwirionedd, neu yn hytrach, pa fodd y profwch ddilysrwydd y rhai sydd genych, y rhai a gyfansoddai yr hyn a elwir yn Destament Newydd. Nid oedd gan y rhai a farnasant gywirdeb y llyfrau sydd genym ddim gwell arweinydd i wneyd hyny nâ'u mympwyon eu hunain? os nad oedd, pa le y mae prawf o'u cywirdeb? Pwy erioed a welodd y copi gwreiddiol? A phe byddai yn bosibl i ryw un ei weled, pa fodd y gallai ei adnabod, heb gael dadguddiad? Ac heb y copi gwreiddiol, pa fodd y profech pa un o'r holl wahanol gyfieithadau o'r ysgrythyr sydd yn iawn? Pan am wirionedd Llyfr Mormon yr oedd genym, ac y mae genym ar y ddaear yn barhaus, ddynion byw, y rhai a welsant ac a deimlasant y llafnau, neu y copi gwreiddiol o hono, a rhai o honynt a dystiolaethasant ei fod wedi ei ddangos iddynt gan angel Duw; ac y mae miloedd o ddynion byw wedi derbyn tystiolaeth o'i wirionedd, ac o wirionedd tystiolaeth yr hwn a dystiolaethodd gyntaf am dano, trwy lef yr Hollalluog, gweinidogaeth angylion, gweledigaethau, a thystiolaeth Ysbryd y gwirionedd.

Ond mynych y dywedir wrthym, os ydyw y llafnau genych, ar ba rai y cynnwysir y copi gwreiddiol o Lyfr Mormon, paham nad ydych yn eu dangos ar gyhoedd? Pa faint gwell a fyddai y byd pe byddai iddynt gael eu gweled, heb ddadguddiad i wybod eu cynnwysiad; ac oddieithr i Dduw roddi dadguddiad i bob un drosto ei hun, byddai y byd heb ddim o hyd, ond ymorphwys ar dystiolaeth y rhai a gawsant hyny am wirionedd ei gyfieithad.

Paul a ddywed wrth yr Hebreaid, xi, 1, mai ffydd yw sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled, a'u bod yn dyfod trwy glywed gair Duw, Rhuf x, 17, a'r hwn hefyd sydd yn dwyn tystiolaeth i air Duw, rhaid ei fod yn anfonedig gan Dduw; canys pa fodd y clywwn heb bregethwr, a pha fodd y pregethai un oddieithr iddo gael ei anfon, gwel Rhuf. x, 14. Yr ŷm yn cael hyn yn yr holl oesau mynedol, sef mai ar dystiolaeth ychydig o'u cyd-ddynion yr oedd eu ffydd yn Nuw a'i bethau, yn sylfaenedig, a'r rhai hyny wedi cael eu hanfon gan Dduw; er enghraifft, yn nyddiau Noe, y byd ni feddai ond yn unig ei dystiolaerh ef, fod Duw wedi dadguddio iddo am ddyfodiad y diluw; a'r byd presennol ni fedda (oddieithr Saint y Dyddiau Diwedaf), namyn yr hyn a ddywedir ei fod yn dystiolaeth Moses, am gread y byd a chwymp dyn, &c.

Meibion Israel, ar ol dydd Moses, a gredent fod y santeiddiolaf yn cynnwys yr arch, a bod yr arch yn cynnwys llechau y cyfammod, y rhai a roddasai Moses yno, ynghyd â'r crochan a'r manna, a gwialen Aaron, yr hon a flagurasai, &c., &c., a bod gogoniant yr Arglwydd yn ymddangos ar y drugareddfa; a pha dystiolaeth oedd ganddynt o hyn? a oeddent yn cael eu dangos i'r bobl, fel y mae ar ddoethion yr oes hon eisieu i ni wneyd gyda'r llafnau a gynnwysant Lyfr Mormon? Na, nid oedd ganddynt ond gair yr archoffeiriad am dano, ac unwaith yn y flwyddyn yn unig yr âi efe i mewn yno.

A thrachefn, mae y byd Cristionogol yn credu adgyfodiad Iesu Grist. A ddangosodd efe ei hun i chwi, fy nghyfeillion Cristionogol? a welodd un o'ch offeiriaid ef erioed? Yr wyf yn tybied y byddai yn bur gysson i chwi wneyd ag ef, fel ag yr ydych yn gwneyd â ni; sef fod iddo ddangos ei hun i'r holl bobl, os oes arno eisieu i'r holl bobl gredu yn ei adgyfodiad. A pha brawf sydd genych o'i fod wedi adgyfodi o gwbl? a ddangosodd efe ei hun i'r holl bobl pan y dywedir i'r ddamwain hono gymmeryd lle? gwel Actau x, 40. Oni ddarfu gwyr santaidd yr amser hwnw,

sef yr archoffeiriaid, yr ysgrifenyddion, a'r Phariseaid, ddywedyd fod ei gorff ef wedi ei ladrata o'r bedd? ac oni ddywed y milwyr Rhufeinig, y rhai oeddynt yn gwylio y bedd, iddynt hwy syrthio i gwsg, a thra yr oeddynt hwy yn cysgu, lladratawyd ei gorff ef gan ei ddyscyblion, meddynt, wrth gwrs? ac oni chredodd yr Iuddewon hwy? Ydych chwi ddim yn tybied fod ganddynt, o dan y fath amgylchiadau, cystal hawl i alw am iddo ddangos ei hun i'r holl bobl, os oedd arno eisieu iddynt gredu yn ei adgyfodiad, ag sydd gan wyr da y dyddiau hyn i alw am wneyd dangosiad felly o'r llafnau? A wnaeth efe erioed felly? na, ni welodd neb mo hono ar ol iddo adgyfodi o feirw, ond ei ganlynwyr; a phwy oeddynt hwy? pysgotwyr tylodion, a'i gyfeillion ef, dynion a gyhuddwyd o ladrata ei gorff ef, dynion mor ddirmygus a gwaradwyddus yn eu hoes ag y bu Saint y Dyddiau Diweddaf erioed gan y genedlaeth hon; a dyma'r dynion y dywedwyd wrthynt gan Iesu Grist, Marc xvi, 15, "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr Efengyl (wrth reswm, yr adgyfodiad a gyfansoddai ran hanfodol ynddi), i bob creadur, a'r hwn a gredo ac a fedyddier, a fydd cadwedig; a'r neb ni chredo, a gondemnir." A oedd gan y byd allu i brofi eu tystiolaeth hwy? Mae'n wir fod ganddynt yr un ffordd yn hollol ag sydd gan ddynion yr oes hon i brofi tystiolaeth y rhai a dystiant am wirionedd Llyfr Mormon; canys pan anfonodd Iesu hwy i'r holl fyd i bregethu yr efengyl i bob creadur, gorchymynwyd iddynt, nid yn unig i addaw iachawdwriaeth yn y byd a ddaw, trwy ffydd ac ufydd-dod i'w cenadwri, ond gorchymynwyd iddynt addaw i'r rhai a gredent y byddai iddynt, yn enw Iesu, fwrw allan gythreuliaid, llefaru â thafodau newyddion, cymmeryd seirff ymaith, iachâu y cleifion trwy arddodiad dwylaw, &c.; gwel Marc xvi, 15. Yna gallasai pawb wybod pa un ai gwir ai gau oedd eu tystiolaeth; a thrwy yr un ffordd y gall dynion yn awr wybod am natur tystiolaeth y rhai a dystiant am wirionedd Llyfr Mormon; canys Duw a'n danfonodd ni i dystiolaethu am ei wirionedd i'r holl fyd, a phregethu yr efengyl i bob creadur, gan hysbysu y bydd i'r hwn a gredo ac a fedyddier, fod yn gadwedig; a'r hwn ni chredo a gondemnir; a'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant yn enw'r Iesu; hwy a fwriant allan gythreuliaid, ac â thafodau newyddion y llefarant, seirff a godant ymaith, ac os yfant ddim marwol ni wna iddynt ddim niwed, (os byddynt yn yfed mewn camsyniad, wrth

reswm); ar y cleifion y rhoddant ddwylaw, a hwy a fyddant iach. Felly, fy nghyfeillion Cristionogol, os gwrthodwch Lyfr Mormon, a'n tystiolaeth ninnau am ei wirionedd, o herwydd yr un rheswm mae yn rhaid i chwi wrthod y Beibl. Ond mae Saint y Dyddiau Diweddaf yn credu pob un o'r ddau; oblegid fe brofwyd tystiolaeth Pedr a Joseph Smith eu bod yn wir, canys mae yr arwyddion hyny yn canlyn y rhai a gredant.

Gan ein bod wedi dangos, gobeithaf, fod dyfodiad y fath gof-lyfr yn berffaith gytuno â rheswm, ac â chymmeriad Duw, a'i ymddygiadau at yr hil ddynol, yn nesaf awn yn mlaen i ddangos ei fod yn cytuno â'r ysgrythyrau.

(*I'w barhau.*)

---

## AML-WREIGIAETH ETTO.

Nid oes dim yn fwy amlwg na bod y Saint yn cael cam mawr gan gyhoeddiadau y wlad, pan ddywedant fod Aml-wreigiaeth yn eu plith; o herwydd pa gyfundeb o bobl a gyhoeddai aml-wreigiaeth yn bechod, tra ar yr un pryd yn ei arfer. Mae holl lyfrau eglwysig y Saint yn ei wahardd, yn neillduol Llyfr Mormon a'r Athrawiaethau a Chyfammodau; a phe buasai y Saint yn cymmeradwyo aml-wreigiaeth, ni fuasent mor ffol â dywedyd dim yn ei erbyn, eithr cadwent ef yn guddiedig, neu gwnaent ei amddiffyn. Yn awr, er mwyn darllenwyr yr Udgorn, dyfynwn dderbyn o'r argraffiad Cymraeg o Lyfr Mormon, tud. 101, 102, lle y mae Jacob yn anerch ei frodyr:—

"Ac yn awr, fy mrodyr, mi a lefarais wrthych ynghylch balchder: a'r cyfryw o honoch ag sydd wedi cystuddio eich cymmydog, a'i erlid ef, o herwydd eich bod yn feilchion yn eich calonau am y pethau a roddodd yr Arglwydd i chwi, beth meddwch am hyny? Ai nid ydych yn tybied fod pethau felly yn ffiaidd gan yr Hwn a greodd bob cnawd? Ac y mae un bôd mor werthfawr yn ei olwg ef â'r llall. A phob cnawd sydd o'r llwch; ac i'r un dyben y creodd efe hwynt, fel y cadwent ei orchymynion, a'i foliannu ef yn dragywydd. Ac yn awr yr wyf yn darfod llefaru wrthych o berthynas i'r balchder hwn. Ac oni bai fod raid i mi lefaru wrthych o berthynas i drosedd gwaeth, fy nghalon a orfoleddai yn fawr o'ch plegid. Ond y mae gair yr Arglwydd yn faich arnaf o herwydd eich troseddau gwaeth. Canys wele, fel hyn y dywed yr Arglwydd, Mae y bobl hyn yn dechreu myned i ddrygioni; ni ddeallant yr ysgrythyrau;

canys y maent yn ceisio esgusodi eu hunain i buteinio, o herwydd y pethau a ysgrifenwyd mewn perthynas i Ddafydd, a Solomon ei fab. Wele, yr oedd gan Ddafydd a Solomon yn ddiau lawer o wragedd a gordderchwragedd, yr hyn beth oedd yn ffiaidd ger fy mron i, medd yr Arglwydd; am hyny, fel hyn y dywed yr Arglwydd, Mi a arweiniais y bobl hyn allan o wlad Jerusalem, trwy nerth fy mraich, fel y cyfodwn i mi gangen gyfiawn o ffrwyth lwynau Joseph. Am hyny, myfi, yr Arglwydd, ni ddyoddefaf i'r bobl hyn wneuthur yn gyffelyb iddynt hwy gynt. Am hyny, fy mrodyr, gwrandewch arnaf, a chlywch air yr Arglwydd; canys ni chaiff un dyn yn eich plith chwi onid un wraig; a gordderchwragedd ni chewch un; canys yr wyf fi, yr Arglwydd, yn ymhyfrydu mewn diweirdeb benywod. A phuteindra sydd ffiaidd ger fy mron i; felly y dywed Arglwydd y lluoedd. Am hyny, y bobl hyn a gant gadw fy ngorchymynion i, medd Arglwydd y lluoedd, neu ynte, melldigedig fydd y tir er eu mwyn hwynt. Canys os myfi, medd Arglwydd y lluoedd, a gyfodaf i mi had, mi a orchymynaf fy mhobl; onide, hwy a gant wrandaw ar y pethau hyn. Canys wele, myfi, yr Arglwydd, a welais dristwch, ac a glywais alar merched fy mhobl yn ngwlad Jerusalem, ïe, ac yn holl diroedd fy mhobl, o herwydd drygioni a ffieidd-dra eu gwyr. Ac ni ddyoddefaf fi, medd Arglwydd y lluoedd, i waedd ferched prydweddol y bobl hyn, y rhai a arweiniais allan o wlad Jerusalem, ddyrchafu ataf fi yn erbyn meibion fy mhobl, medd Arglwydd y lluoedd; canys ni chant hwy gaethgludo merched fy mhobl, o herwydd eu tynerwch, oddieithr i mi ymweled â hwynt â melldith dost, hyd at ddinystrio; canys ni chant buteinio, yn gyffelyb iddynt hwy gynt, medd Arglwydd y lluoedd."

---

## PENNILLION.

TON—"Duw gadwo'r Brenin."

MI ganaf hoenus gainc
I'r Hwn sydd ar y fainc,
Yn Frenin fry;
Fe welir cyn bo hir
Ei deyrnas drwy'r holl dir,
Ac heuffych iddi'n wir,
Ddyweda'i'n hy.

Cyduna yr holl Saint,
Gan werthfawrogi'r fraint,
Mewn unol fryd;

A gwaeddant ag un llef,
Mae croesaw iddo Ef
I ddod i lawr o'r nef;
Mae'n awr yn bryd.

I fynydd Seion awn,
Can's yno gweled gawn
Ei ddysclaer wedd;
Cawn yno hefyd gwrdd,
I eistedd wrth ei fwrdd,
Tu hwnt i ofer dwrdd,
Mewn hyfryd wledd.

Angylaidd fawl a fydd,
A chân seraphaidd rydd
Yn ddi wahan;
Clustfeinia'r nefol lu
I wrando'r folawd gu,
A th'rawant hwythau fry
Yr unrhyw gân.

Fe leinw'r Ysbryd Glân
Fynwesau mawr a mân,
Trwy'r dyrfa hardd;
Bydd pawb mewn hyfryd hoen,
Heb unrhyw nych na phoen,
Yn canu mawl i'r Oen,
Yn ddi-wahardd.

Mor ogoneddus fydd
Y saint yn awr y sydd
Yn destun gwawd;
Coronir hwy ryw awr
'N freninoedd teg eu gwawr,
Teyrnasant ar y llawr
Mewn dirfawr ffawd.

A'r holl annuwiol rai
Geryddir am eu bai,
Gostyngir hwy;

A'r diafol fydd pryd hyn,
Wrth gadwyn yn y llyn;
Er rwymyn fydd yn dyn,
Ni ddryga mwy.

Mor ddedwydd fydd y fan,
O sicrhewch eich rhan,
Chwi ddynion da;
A ffowch rhag min y cledd,
Ni welir mwyach hedd,
Aiff llu i lawr i'r bedd,
Trwy ddirfawr bla.

Fy hoffus dylwyth cu,
Rho'f hyn ar wyn a du,
Yn rhybydd dwys;
O, dewch medd Duw yn awr,
O gyrau Babel fawr;
Fe gwympir hon i'r llawr—
Mae'n beth o bwys.

*Ffestiniog.* D. ROBERTS.

---

## NODIADAU, &c.

LLYFR MORMON.—Carwn hysbysu derbynwyr Llyfr Mormon, y daw ei rifynau, o'r 20fed allan, am *geiniog* yr un! Canmolwn ein brodyr am yr ymdrech a wnaethant o'i blaid. Meddyliwn mai gwell yw peidio tori ei ddail cyn ei rwymo, rhag ofn colli rhai o honynt, a methu cael rhai yn eu lle. Gan y bydd allan yn mhen oddeutu chwe mis, gwell i'r rhai mwyaf diofal beidio ei ddarllen, eithr gosod y rhifynau yn ddiogel o'r neilldu, er mwyn ei rwymo, ac wedi hyny cofio ei ddarllen.

ATH. A CHYF.—Mae yr "Ath. a Chyf." yn awr wedi ei rwymo mewn croen hardd, ac ymylau y dail wedi eu goreuro yn y modd gwychaf, pris 3s 6c. Ei bris i ddosparthwr cynnadledd yw 3s., ac i ddosparthwr cangen, 3s 3c.

YR UDGORN.—Tra mae ymdrech yn cael ei wneuthur ynghylch Llyfr Mormon, ni ddylid ar un cyfrif esgeuluso yr UDGORN: mae y cyhoeddiad hwn mor anghenrheidiol â dim sydd genym; canys y mae yn cynnwys cyfarwyddiadau Duw i'r eglwys yn yr oes hon, yr hyn a ddylai pawb gael gwybod. Heblaw hyny, efe

yw yr unig gyfrwng a feddwn i amddiffyn ein hunain; ac os na thaenir yr UDGORN ar hyd a lled y wlad, nid oes fodd i ni amddiffyn ein hunain. Nid eisieu dadleu ein hachos o flaen ein gilydd sydd arnom, eithr o flaen y byd: am hyny, gwerthfawroger yr UDGORN, trwy ymdrechu ei werthu a'i ddosparthu yn eu mysg. Cofier am dano erbyn dechreu y flwyddyn, fel y caffom dair neu bedair mil o dderbynwyr, yn lle y ddwy fil a dau cant a gawn yn bresennol. Bydd Llyfr Mormon wedi ei orphen, ond odid, os cawn fywyd ac iechyd, erbyn tua diwedd Ebrill; ac yna ni fydd ond baich ysgafn ar y Saint o hyny allan, gan y bydd y prif lyfrau wedi eu cyhoeddi. Am hyny, cofier am gylchrediad da i'r UDGORN y flwyddyn nesaf, fel y gallo y wlad ei weled, ac fel y caffo y dosparthwyr rywbeth yn fwy am ei ddosparthu.

STAR.—Dylid ymdrechu yn mhob man i beidio lleihau y galwad am y *Star*, eithr ei gynnyddu. Os danfonir am lai, nid gwiw dysgwyl ei chael am geiniog.

APWYNTIADAU.—Rhyddhawyd yr Henuriad Thomas Pugh o fod yn Llywydd ar Gynnadledd Orllewinol Morganwg, a phenodwyd yr Henuriad Henry Evans yn ei le. Hefyd, rhyddhawyd y brawd Phillips o fod yn Llywydd ar Gynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, a phenodwyd Thomas Pugh yn ei le, fel y gallo y brawd Phillips ofalu mwy am yr holl Gynnadleddau Cymreig.

☞ Mae amryw ysgrifeniadau o eiddo Capt. D. Jones yn ein meddiant, y rhai a gyhoeddwn yn achlysurol yn yr UDGORN, gan gredu y bydd llawer yn falch i'w gweled, o herwydd na argraffwyd hwynt o'r blaen. Er wedi myned o'n plith, y mae ei leferydd gyda ni etto.

☞ Mae cân ein brawd "D. E. J." yn neillduol o gampus, eithr ofnwn wneuthur niwed trwy ei chyhoeddi. Bydded gystal â'n hanrhegu â rhywbeth o natur wahanol.

☞ Diolchwn i "D. W." am ei draethawd, ond nis gallwn gyhoeddi yr hyn a dueddo i ddryllio teimladau. Mae gan bob sect ei theimladau; a pha leiaf a wawdiom am eu ffolineb, goreu i gyd.

TALIADAU O HYDREF 17 HYD HYDREF 30.—Sir Frycheiniog, 2s 6c; Morganwg Orllewinol, £2 13s 6c; Pontytypridd, £2 18s 2c; Cwmbach, £1 19s; Gog, 5s; Cardiff, 14s; Dowlais, £1 2s 6c; Rymni, 4s 2½c; Georgetown, £3 6s 6c; Merthyr, £2; Pendaren, 6s 7½c; Cefn, £1 3s 1½c.—Cyfanswm, £16 15s 1½.

GWALLAU.—Yn ein rhifyn diweddaf, darllener "Llanilltyd, 10s 3c;" yn lle "3s 10c;" ac yn y rhifyn cyn y diweddaf, dylai dyled Pontytypridd fod yn 6s yn ychwaneg.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHHR TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 23.] TACHWEDD 15, 1851. [PRIS 1*g*.

## DYFODIAD MAB Y DYN.

[Parhad o dud. 346.]

OND ar unwaith etto, gwelwn y dyrysni yr arweinia y gosodiad blaenorol ni iddo, sef ein hamddifadu o un gobaith am ran yn yr adgyfodiad cyntaf, na theyrnasu gydag Ef ar y ddaear am fil o flynyddau, yn yr hwn obaith y gorfoleddai y patriarchiaid, y prophwydi, yr apostolion, a'r holl saint yn fwyaf o bob peth arall, ïe, hyd y nod yn y nefoedd canent anthemau o glod i'r dydd dedwydd, pryd y caent ddyfod gydag Ef i'r ddaear hon: er hyny oll, er fod yr holl elfenau, planedau, a'u sefyllfaoedd, a phob peth, yn gwadu yr haeriad uchod, etto, dynion sydd yn proffesu eu bod yn credu yr ysgrythyrau, a geisiant ein hamddifadu o'r holl obaith a'r cysur sydd werth ei gael, a'n tynu o'r radd uchaf o obaith a llawenydd, i'r radd isaf o drueni ac anobaith, gan ddywedyd fod yr holl bethau uchod wedi myned heibio; fod yr adgyfodiad cyntaf eisoes wedi cymmeryd lle, a ninnau heb gael rhan ynddo; o ganlyniad nid oes obaith i ni, ond rhyw "ddysgwyl." Dysgwyl am ba beth? ai am yr ail adgyfodiad i farn? Os felly, fe'n siomwyd yn hyny, o herwydd nid oedd ond mil o flynyddau o'r cyntaf i'r ail; ond yn ol eu haddefiad eu hunain, mae yn agos dwy fil o'r cyntaf, ac nid yw yr ail etto. Beth a wnawn yn dysgwyl am dano yn hwy? Fe'n siomwyd, a chan nad oes ond adgyfodiad i farn pryd hyny, ni waeth i ni heb ddysgwyl am dano; canys yr ydym heb obaith genym, ond am glywed y gair "Ewch, ewch," o hyd. Felly, yr ydym heb Dduw yn y byd, na modd i'w gael mwy; heb efengyl, ac i gyd yn atheistiaid, neu waeth: am hyny, bwytawn

ac yfwn, canys y fory marw fyddwn, ac awn at gythreuliaid. Dyma ddiwedd yr wrthddadl.

Ond diolchwn mai nid yr oes hono a feddyliai Crist pan lefarodd y geiriau uchod. Diolchwn fod i ni etto obaith am ran yn yr adgyfodiad cyntaf, ac ymdrechwn i fod yn barod; canys yn yr awr ni thybiwn y daw Mab y Dyn. Gan ei fod Ef wedi rhoddi cynnifer o dystion o'i ddyfodiad, mae yn rhyfedd na fyddai i boethder llosgadwy yr haul, neu oleuni holl oleuadau anferth y ffurfafen, gael yr effaith briodol i argyhoeddi dynion o'r cyfeiliornad hwn, a'u goleuo o ddyrysni y fagddu uchod, i dir rheswm neu ysgrythyr. Dywed pobl pe gwelent y cyfryw bethau, y credent; ond yn hollol groes y mae, er iddynt weled yr holl fyd daearol ac wybrenol, a'r pethau sydd ynddynt, yn dystion geirwir, er hyny ni chredant dystiolaeth y cyfan o honynt, sef ei fod yn dyfod! O na chymmerent rybydd.

Ond, erbyn hyn yr ydych yn barod i ofyn beth a feddwl Crist pan ddywed, "Nid â y genedlaeth hon heibio," &c.? Mae yn meddwl yr hyn a ddywed, ac yn dweyd yr hyn a feddwl, yn gymhwys; a dau air yn yr adnod flaenorol iddi a ddengys yn eglur ddigon, "pan *weloch* hyn *oll*." A welodd yr oes hono yr holl bethau a nodwyd? Os naddo, nid at yr oes hono y cyfeiriai ati, ond rhyw oes a *welent* yr arwyddion nodedig hyn yn dechreu cymmeryd lle, sef adferiad yr Iuddewon, pregethu yr efengyl dragywyddol, a rhyfeloedd a'r arwyddion yn y nef, &c. Nid â y genedlaeth hono (yn mha un y dechreuai y pethau hyn gymmeryd lle) heibio, hyd oni chyflawner yr oll o honynt. Dyma yr unig ddarluniad rhesymol a roddir arnynt; ac os na addefir y darluniad hwn, yna nid yw yn cyduno â'r prophwyd; ïe, mae yn croes-ddweyd ei hun; o herwydd dywed y syrthient (sef yr Iuddewon) trwy fin y cleddyf, nes eu gwasgaru i blith yr holl genedloedd, hyd oni chyflawner amser y cenedloedd, yr hyn nid yw wedi ei gyflawni hyd yr oes hon; a dywedodd yr Iesu hefyd, "Nid â y genedlaeth hon heibio hyd oni wneler hyn oll." Os dywedir fod Crist yn cyfeirio at yr oes neu y genedlaeth hono, yna rhaid profi fod yr holl bethau hyny wedi eu cyflawni yn yr oes hono, sef fod amser y cenedloedd i sathru a gwasgaru yr Iuddewon, wedi ei gyflawni, ac felly fod holl Israel yn gadwedig; canys dywed Paul yn Rhuf. xi, y byddent hwy yn gadwedig y pryd hyny, ond nis gallent fod

yn gadwedig heb gredu yn y Gwaredwr, sef yr Iesu hwnw a groeshoeliasent hwy, ac ni ddywed neb fod yr Iuddewon fel cenedl yn addef mab y saer yn Fab Duw, ond dywedant mai y twyllwr gwaethaf o'r holl gau-gristiau ydyw; prawf anwrthwynebol ynte, nad yw yr amser y cyfeiria Crist ato, wedi dyfod hyd heddyw! Mae sefyllfa wasgaredig yr Iuddewon yn profi yn amlwg i'r holl genedloedd, nad yw yr amser hwnw wedi dyfod, tra y gwelant y bobl hyn yn byw yn eu plith. Dywed Paul, "y Gwaredwr a ddaw allan o Seion, ac a dry annuwioldeb oddiwrth Jacob." Ond nid oedd dinystr Jerusalem yn waredigaeth i'r Iuddewon, ond yn lladdfa fawr, ac yn ddinystr anrheithiol, ac yn wasgariad hyd heddyw; felly, gwelwn fod dyddiau dial heb ddarfod, a bod yr amser hwnw y byddai gorthrymder y fath ni bu ar yr Iuddewon er dechreuad y byd, fel yn atebiad i'w gweddi, sef "bydded ei waed ef arnom ni, a'n plant." Dyma y dyddiau hyny a fyrheir er mwyn yr etholedigion (neu'r Iuddewon, a chynnifer o'r cenedloedd a dderbynid i mewn trwy yr efengyl i'r cyfammod); gwelwn fod cynnifer o ddyddiau dïal i fod, ac bod diwedd i fod arnynt, yn yr amser terfynedig, a phe gallem ond cael allan hyd yr amser hwn, a pha bryd y dechreuodd, yna gallem ddweyd yn sicr pa bryd y derfydd, a hyny ar osodiad Crist. Yr oedd y prophwyd Daniel yn holi yr angel yn aml pa bryd y byddai y pethau hyny, a phaham nad allem, ïe, na ddylem ninnau chwilio i'r amser? a chan iddo ef gael yr ateb gan angel, yna gwnaiff yr un ateb y tro i ninnau. Wel, meddwch, a ydyw Daniel wedi egluro y peth? Ydyw, yn eglur ddigon, yn mhen. vii, "Clywais hefyd y gwr oedd wedi ei wisgo â lliain main, pan dderchafodd efe ei law ddehau a'i aswy tua'r nefoedd, ac y tyngodd i'r hwn sy'n byw yn dragywydd, y bydd (sef y weledigaeth) dros amser, amseroedd, a hanner amser, wedi darfod gwasgaru y bobl santaidd (yr Iuddewon), y gorphenir hyn oll." Gwel adn. 11, "Ac o'r amser y tyner ymaith y gwastadol aberth, ac y gosodir i fyny y ffieidd-dra anrheithiol, y bydd dau cant a deg a phedwar ugain o ddyddiau, sef pob dydd yn flwyddyn, fel amser cyfrif y prophwydi, a'r rhif a roddir yn y 7fed adn. ydyw amser, sef blwyddyn, 360 o ddyddiau, h. y., 360 o flynyddau; amserau, yn y rhif lliosog, dau cymmaint â'r cyntaf, 720; a hanner amser, sef 360, yw 180; y tri nifer hyn a wnant i fyny 1260 o flynyddau, y nifer a ddywed Ioan yn Nad. xii, 14.

y byddai y wraig, sef yr Eglwys Gristionogol, yn yr anialwch, wedi ffoi o wyddfod y ddraig a'i herlidiau; ac yn adnod y 6fed, dywed y byddai yno fil dau cant a thrugain o ddyddiau, sef y nifer a nodwyd gan Daniel, ar ol darfod gwasgaru y bobl santaidd, hyd oni wneler hyn oll. Y peth nesaf yw profi pa bryd y darfu iddynt orphen gwasgaru y bobl santaidd; os, fel y dywed llawer, y gorphenwyd eu gwasgaru ar ddinystr Jerusalem, yna buasai y diwedd yn 1330, sef 70 (y flwyddyn y dinystriwyd Titus Jerusalem, at y nifer uchod); ond gan yr addefir na ddaeth y diwedd pryd hyny, prawf nad y pryd hyny, sef yn ninystr Jerusalem, y gorphenwyd y gwasgariad hwnw, pan y dechreuai y rhif nodedig. Yn awr cymmerwn ffordd arall fel y canlyn: wedi y tyner ymaith y gwastadol aberth (yn ninystr y deml), a gosod i fyny y ffieidd-dra anrheithiol (sef y ddraig, neu y bwystfil, y corn bach a godai ddiweddaf ac a ddyfethai dri, a fyddai yn wahanol i bob un a fu o'i flaen), &c., yr hyn beth a gyfeiria at yr Eglwys Babaidd, a'r diwedd, sef yr amser y gosodir ef i fyny, ac y dyfethir neu y gyrid yr Eglwys i'r diffaethwch y byddai 1290; yma y mae gwahaniaeth o 30, sef yr amser rhwng cymmeryd ymaith y naill a gosod i fyny y llall; ond gan nad oedd y wraig neu y bobl santaidd yn cael eu gyru i'r diffaethwch, yn y dydd na'r flwyddyn pan eisteddai y bwystfil ar ei orsedd, ond yn mhen rhyw gymmaint o amser wedi hyny, rhaid cael yr amser hwnw pan orphenwyd eu gwasgaru. Mae'n debyg fod y bwystfil fel y cryfhauai, yn gwanychu y llall, nesyn mhen ychydig ei llwyr ddyfethai; ac os gallwn wybod y flwyddyn hon, a chwanegu ati 1290, dengys hyny pa bryd y cyflawnir amser y cenedloedd, i sathru yr Iuddewon dan eu traed, pa bryd y dechreuai yr adferiad, pa bryd y cyflawnir y dyddiau dïal, a'r gorthrymderau y cyfeirai Crist atynt; a chan nad oes genym ysgrythyr mor ddiweddar â gosodiad y bwystfil, ond prophwydoliaeth flaenorol iddo, o herwydd ni rydd y gyfrol santaidd ddim hanes diweddarach nâ'r flwyddyn 96. Yna rhaid cael yr amser gofynol trwy haneswyr diweddarach, ac nis gwn am well awdwr na Mosheim, yr hwn a ddywed, "Er fod Custenyn fawr wedi cymmeryd ffrwyn llywodraeth yr Eglwys, a'i huno â'r wladwriaeth yn y flwyddyn 323, etto, ni lygrodd yn hollol ar unwaith, ond yn raddol hyd Pope I., a bod y bobl bur o galon wedi ymadael â'r Eglwys ac ymddidoli, fel y gallent ddilyn dull a chrefydd yr apostolion, a bod yr un

doniau yn cael eu cyfranu iddynt gan yr un Ysbryd, ac yn gweinyddu yr un ordinhadau, ac yn gwneuthur gwyrthiau hefyd i raddau, hyd y flwyddyn 570; os addefir mai dyma yr amser pan y cymmerodd y wir grefydd ei hadenydd o blith dynion, ac y cymmerwyd y Mab gwrryw i'r nefoedd (sef yr offeiriadaeth, trwy yr hon y gwnelid gwyrthiau), yna chwanegwn 1260 at hyny, 570, a chawn 1830, a dangosir pa hyd wedi tynu ymaith yr aberth cyn gosod i fyny y ffieidd-dra, sef 50; ac o'r pryd hwnw hyd yr amser y llwyddai i orphen gwasgaru y bobl santaidd yn 540. Felly, yn y flwyddyn uchod, sef 570, y gorphenwyd gwasgaru nerth y bobl santaidd. Cyduna Daniel ac Ioan yn hyn, â thystiolaeth haneswyr yr oesoedd canlynol, mai yn y flwyddyn hono y cynnyddodd y bwystfil ddigon cryf a chreulon, i lwyr ddyfetha yr ychydig saint oedd yn wasgaredig trwy y byd, dan erlidigaeth hyd hyny, ac nid oes hanes am danynt yn oesi ar ol hyny, a'r a welais, h. y. a'i barnu wedi hyn, wy'n feddwl, fel cyn hyny, sef wrth eu ffrwythau; nid oes hanes am yr arwyddion hyny a ganlynent y saint yn mhob oes flaenorol, yn canlyn un eglwys wedi yr amser uchod, oddigerth yr hona Eglwys Rhufain yny, ac nid yw i'r pwrpas yn awr i ddadleu'r pwnc gyda hi, canys yn yr amser gosodedig y bydd y diwedd, sef yn mhen 1260; ar ol 570 A.C., byddai diwedd y dyddiau dïal a gorthrymder a soniai Crist am danynt, a phan ddychwel y wraig o'r diffaethwch, fel y dywed Ioan, y dechreuai goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, pan y deuai cyflawnder y Cenedloedd i mewn, yn gyntaf, i'r cyfammod newydd; ac felly y byddai yr Israel yn dechreu adeiladu Jerusalem. Dyma yr amser y cyfeiria Luc ato pan y dywed y sethrid Jerusalem dan draed y Cenedloedd, hyd oni chyflawner amser y Cenedloedd; felly gwelwn y diwedd hwn, wedi ei sefydlu gan yr holl dystion uchod, i fod yn y flwyddyn 1830, yr hyn yw swm y ddau nifer uchod. 570 A. C., pan ddarfu i'r bwystfil wasgaru nerth y bobl santaidd, a chwanegir ato hyd y *dyddiau lawer* y byddent yn wasgaredig trwy fin y cleddyf, gorthrymder, &c., neu hyd yr amser y gwelodd Ioan yr Eglwys, yn yr anialwch 1260, a chawn 1830, yr amser terfynedig. A pheth oedd i gymmeryd lle y pryd hyny? ai diwedd y byd? Nage, na dyfodiad Mab y Dyn chwaith; ac yma y methodd Mr. Miller, &c., sef cymmeryd yn ganiataol y deuai Mab y Dyn, ac y llosgid y ddaear â thân; ond ni wn am un man o'r ysgrythyr

a ddengys fod yr un o'r ddau beth hyn i gymmeryd lle yn mhen 1260, o un amser nodedig. Wel, pa beth ag oedd i gymmeryd lle pryd hyny, ynte? llawer o bethau mawrion a rhyfeddol,—sef yn gyntaf, dechreu adeiladu Jerusalem, yr hyn beth sydd yn y flwyddyn hono wedi dechreu yn hynod iawn o lwyddiannus hyd yn hyn. 2. Yr holl bethau hyny a enwodd Crist oeddynt arwyddion mor amlwg o'i ail ddyfodiad. Yr efengyl hon am y deyrnas a bregethir trwy yr holl fyd, er tystiolaeth i'r holl genedloedd fod y diwedd ar ddyfod,—sef yr un efengyl nerthol hono a bregethodd Crist a'r apostolion, ar ol iddi fod wedi ei cholli o'r byd am 1260 o flynyddoedd. Gwelodd Ioan angel yn dyfod â hi i waered i'w phregethu i'r rhai oedd yn trigo ar y ddaear, i bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl. Yna yr oedd pob llwyth, iaith, pobl, a chenedl, yn amddifad o'r efengyl dragywyddol, neu yr oedd yr angel yn dyfod ar neges afreidiol!

(*I'w barhau.*)

---

## BEDYDD.

### AM Y DEILIAID, A'R IAWN DDULL I'W WEINYDDU.

*At yr Annibynwyr, y Trefnyddion Calfinaidd, a'r Wesleyaid, a phawb ag sydd yn bedyddio babanod.*

HYNAWS GYDWLADWYR,—Bu ymddadleu nid bychan am y deiliaid, ac etto nid ydyw pawb yn cyd-weled, ac yn gymaint â'ch bod chwi yn bedyddio (neu daenellu) babanod, beth ydyw eich rhesymau cyntaf dros hyn?

Taenellwr.—Yr ydym yn eu bedyddio, am fod bedydd wedi dyfod yn lle yr enwaediad; yr oeddynt yn enwaedu ar fabanod, gan hyny, yr ydym ninnau yn eu bedyddio.

Sant.—Bedydd wedi dyfod yn lle yr enwaediad?

T.—Ië, onid oeddynt yn enwaedu ar yr wythfed dydd gynt, ac yn awr nid yw enwaediad ddim, canys daeth bedydd yn ei le.

S.—Bedydd yn *lle* enwaediad! Pa le y dywed yr ysgrythyr hyn? Ni ddywed yr ysgrythyr y fath beth; pe byddai bedydd wedi dyfod yn lle enwaediad, ni fuasid yn bedyddio neb ag oedd wedi enwaedu arnynt, ond bedyddio pawb a'r nad oeddynt enwaededig, a pheidio enwaedu ar neb, ond eu bedyddio, o'r dydd y daethai y naill yn lle y llall; dyna fel yr ymddygai dynion

doethion; ond, fel arall yn gymhwys y bu. Gwelwch fod Ioan yn ŵr wedi ei anfon oddiwrth Dduw, at y rhai enwaededig, ac i ba beth? i'w *bedyddio*, er maddeuant pechodau! ac ni feddai hawl i fedyddio neb ereill, ond y rhai enwaededig, a phe bai y naill wedi dyfod yn lle y llall, o osodiad Duw felly, credwn yn y fan fod Ioan yn ynfyd, canys yr oedd ei weithred yn bedyddio yr enwaededig, yn groes i ewyllys ei anfonydd; ond nid felly yr oedd, canys bedyddiwyd Crist wedi enwaedu arno, a'r holl apostolion, a thair mil dydd y Pentecost: yr oeddynt *oll* yn enwaededig.

T.—Ië, o hyny allan, pan ddaeth Paul, efe a ddywedodd nad yw enwaediad ddim, ond bedyddio pawb yr oedd ef.

S.—Wel, o hyny allan, dywedodd Paul nad yw enwaediad ddim: gwir, na dienwaediad hefyd, ond dyn newydd yn Nghrist "o hyny allan." Pe byddai bedydd yn lle enwaediad, ni fuasai Paul yn enwaedu ar Timotheus, a'i fedyddio gwedi'n, a Phedr wedi ei apwyntio gan Dduw i fod yn weinidog yr enwaediad, (fel yr oedd Paul i'r dienwaediad) yn parhau i enwaedu a bedyddio hyd y gallai; yr hyn ni wnai wrth gwrs, pe bai Duw wedi gosod y naill yn lle y llall. Yn awr, Syr, gwelwch fod y cicaion wedi diflanu, ni ellwch mwyach gael bedydd babanod tan ei gysgod ef! A oes un cryfach? os ydych yn daer am fedydd babanod, moeswch hwnw.

T.—Wel, rhaid addef fod Pedr yn gwneuthur felly, ond fe orchymynodd Crist fedyddio yr holl genedloedd, ac y mae babanod yn yr holl genedloedd.

S.—Nid wyf am fyrhau terfynau y commisiwn, ond cymmeryd yr ysgrythyr bob amser i ddehongli yr ysgrythyr. Cofiwch mai alleiriad o'r un gorchymyn o eiddo Crist, sydd yn Marc xvi., lle y dywed, mai y neb a gredo, ac a fedyddier, afydd cadwedig. Pwy a gafodd y gorchymyn hwn?

T.—O, yr apostolion, sef yr un ar ddeg.

S.—A ddarfu iddynt hwy fedyddio yr holl genedloedd?

T.—Do, mor belled ag y gallent gael dynion i ufyddhau; ond nid pawb oll, yn yr ystyr helaethaf.

S.—A ydych yn addef fod yr apostolion yn gwybod eu dyledswydd mor drwyadl am fedydd, fel nad oeddent gamsyniol pwy i fedyddio?

T.—O, gwyddent hwy yn sicr.

S.—A fedyddiasant hwy, neu yr Iesu, gymmaint ag un baban?

T.—Yr oedd Crist yn cymmeryd babanod yn ei freichiau, a'u bendithio, ac y mae bedydd yn fendith.

S.—Ai tybied yr ydych mai eu bedyddio hwy a wnaeth Crist? Cofiwch ddywedyd o'r ysgrythyr, na fedyddiai yr Iesu neb, eithr ei ddyscyblion ef. Gwir fod Crist yn cymmeryd babanod yn ei freichiau a'u bendithio hwy; ond ni ddywed iddo fedyddio un baban; gwir hefyd fod bendith yn gyssylltiedig â bedydd, pan ei iawn weinyddir gan weision Duw, sef maddeuant pechodau; eithr o'r ochr arall, i'r anghredadyn, a'r anedifeiriol, ni fydd yn fendith, ond melldith.

T.—Ië, fe fedyddiodd yr apostolion deuluoedd cyfain; annhebyg fod yr holl deuluoedd hyny heb un baban ynddynt.

S.—Wel, olrheiniwn iddynt, er cael prawf; os gellir profi o'r ysgrythyr fod babanod wedi eu bedyddio, rhaid credu hwnw. Pa le y mae y prawf cyntaf.

T—Yn Act. x, sef, Cornelius a'i holl deulu; a oedd yno ddim babanod?

S.—Nac oedd un: gwelwch y prawf yn adnod yr ail, "Ei fod yn ofni Duw, ynghyd â'i holl dy:"—ad. 33, "Yr ydym ni yma oll, gerbron Duw:"—ad. 44, "Syrthiodd yr Ysbryd Glân ar bawb oedd yn clywed y gair."—ad. 46, "Canys yr oeddynt yn eu clywed hwy yn llefaru â thafodau, ac yn mawrygu Duw." Yn awr, chwi welwch eu bod *oll* yn nhre', *oll* yn ofni Duw, *oll* yn llefaru a thafodau, ac yn mawrygu Duw, yr hyn nis gallasai babanod wyth mis oed, chwaithach wyth niwrnod; gan hyny, nid oedd yno fabanod.

T.—A oedd dim babanod yn nheulu ceidwad y carchar?

S.—Nac oedd un. Gwelwch y prawf yn Act. xvi, 34. Ac efe (ceidwad y carchar) a fu lawen, gan gredu i Dduw, efe a'i holl deulu." I bawb oedd yn ei dy y pregethwyd y gair, ac efe a'i holl deulu a gredodd, ac nid yw babanod yn alluog i gredu; gan hyny, gwelwch fod y cicaion hwn etto wedi diflanu dan fy nwylaw; ni cheir bedydd baban odditanodd?

T.—Wel, gallai fod un baban yn nheulu Crispus.

S.—Nac oedd un: gwelwch y prawf yn Act. xviii, 8, "A Chrispus, yr arch-synagogydd, a gredodd yn yr Arglwydd, a'i *holl dy*;" gan hyny, os oes oedd yno faban, un galluog i gredu oedd.

T.—A oedd dim baban gyda Lydia gynt? tebyg genym mai gweddw oedd hi, wedi claddu ei gwr, a gallai fod yno faban.

S.—Ië, ni ddywed yr ysgrythyr fod dim, ac nid ydyw dystawrwydd yn brawf fod dim; ac os nad oes gwell prawf na ddystawrwydd genych, yr ydych heb yr un; cred heb brawf, na sail ysgrythyrol, sydd gyffelyb i gicaion diflanedig. Gwasanaethodd cicaion Jonah gynt dros y nos, cystal â thŷ; ond pan ddaeth goleuni a gwres, diflanodd: efelly yn union y mae crediniaeth dynion mewn bedydd babanod: esgorodd doethineb ddynol ar amryw gysgodau, neu gicaionau, ac a wasanaethasant dros ganrifoedd o oesoedd tywyll; ond yn awr, daeth goleuni a gwres, ac wele, y cysgodau fel tarth neu niwl yn cilio o'r golwg, a'r canlyniad fydd, gynnyddu o'r gwres nes tanio yr holl anmhuredd, a'r sawyr drewllyd ac afiach a ddaeth doethineb ddynol i'r byd.

Cofiwch mai unig ddeiliaid bedydd, ydynt y rhai sydd abl i gredu. I brofi hyn, gwelwch fod bedyddiedigion Ioan yn cyffesu eu pechodau; y tair mil ar ddydd y Pentecost a ddywedasant, "Ha wyr frodyr, pa beth a wnawn ni?" "Edifarhewch," ebe Pedr, "a bedyddier pob un o honoch, er maddeuant pechodau," &c. "Os wyt ti yn credu," ebe Philip wrth yr eunuch, "fe ellir." Felly, y teuluoedd y soniasom am danynt, oll yn credu yn gyntaf, edifarhau yn ail, bedydd wedi hyny.

Etto, rhag bod yn faith, fe daera y Taenellwyr mai trwy daenellu y dylid bedyddio, ac nid trwy drochi neu dan-suddo; ond y mae y seiliau sydd ganddynt i gredu hyn, yn diflanu pan eu profir, fel us o flaen y gwynt: credant fod teuluoedd cyfain wedi cael eu bedyddio mewn annedd-dai, pan na ddywed yr ysgrythyr ddarfod i gymmaint ag un i gael hyny. Gwir fod yr ysgrythyr yn ddystaw am Saul, Lydia, Cornelius, a cheidwad y carchar gynt; ond nid ydyw dystawrwydd yn brawf o ddim: efelly, wrth gwrs sail wan ydyw hi i adeiladu arni; ïe, rhy dlawd i neb ystyriol i'w harddel. Fe ddywedir hefyd fod yn rhaid mai trwy daenellu y bedyddiwyd y tair mil ar ddydd y Pentecost, am eu bod yn ormod mewn rhif i'w trochi oll mewn mor lleied o amser: ond, attolwg, y mae y taenellwyr presennol yn treulio cymmaint o amser i weini yr ordinhad â ninnau: y mae y gwersi yn ogyhyd, ac fe dreulir llawn cymmaint o amser i osod yr ychydig ddiferynau, a'u sychu, ag a wneir i dan-suddo dyn yn yr elfen. Gan hyny, mae yn amlwg nas gellir cael bedydd taenelliad dan gysgod y llwyn hwn etto; wel, ynte, caf ddwyn gerbron ranau o'r ysgrythyr, i brofi tuhwnt i bob ammheuaeth, mai trwy drochi,

neu danauddo, y dylid bedyddio, ac nid trwy daenellu. Yn gyntaf, aeth Phillip a'r Eunuch "i waered i'r dwfr;" yr hyn ni chlywais i neb erioed ei wneyd er mwyn taenellu na thywallt. Hefyd, fe aeth allan at Ioan (Marc i, 5) holl wlad Judea, a'r Hierosolymitaniaid (trigolion Jerusalem), ac a'u bedyddiwyd ganddo ef *yn* afon yr Iorddonen; ni chlywais i erioed fyned o neb i afon i daenellu. Hefyd, aeth Ioan i Ainon i fedyddio, canys *dyfroedd lawer* oedd yno; gwel Ioan iii, 23; ac os nad oedd anghen am ychwaneg nâ llonaid cawg, i'r dyben i weini bedydd, y mae yn ymddangos i mi fod Ioan yn gweithredu yn groes i gwrs naturiaeth, a rheswm; yr hyn nis gallaf ei gredu, o herwydd yr oedd yn llawn o'r Ysbryd Glân o groth ei fam.

Etto, y mae Paul yn dysgu Titus (iii, 5), mai yn ol ei drugaredd yr achubodd efe (Duw) nyni, trwy *olchiad* yr adenedigaeth, ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân. Fe wyddis yn dda ein bod oll yn aflan, o wadn y troed hyd y coryn; rheswm a'n dysg, a'r ysgrythyr hefyd, fod yn rhaid ein golchi *oll*, gan ein bod oll yn aflan, ond nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd, &c.

Etto, y mae Paul yn dysgu y Rhufeiniaid, a'r Colosiaid hefyd, am gladdu yn y bedydd, sef claddu yn yr elfen, wrth gwrs.

Yn awr, y mae hyn yn ddigon i argyhoeddi pob taenellydd, a argyhoeddir trwy reswm ac ysgrythyr. Gadawed pawb eu meddwl, a'r traddodiad a gafwyd gan y tadau, ac ystyrier mai yr Ysgrythyr a'n barn yn y dydd diweddaf, ac nid meddyliau, credoau, na thraddodiadau ychwaith.

Yr eiddoch, &c.,

*Dinas.* J. RICHARDS.

---

## ERLIDIGAETH YN TREDEGAR, SIR FYNWY.

Ar y 4ydd dydd o'r mis hwn, dygwyddodd fod yr Henuriad Lorenzo Snow a minnau yn pregethu yn neuadd y dref uchod, a thyrfa fawr yn ein gwrandaw; yr oedd yn bresennol hefyd y brodyr Davis, Pugh, Giles, ac ereill. Wedi i'r cyfarfod ddarfod, cyfarwyddwyd y brawd Snow a minnau, i fwytty i lettya; ac wedi i ni swpera, aethom i'n gwely o ddeutu hanner awr wedi un ar ddeg.

Wedi myned i'r ystafell wely, edrychasom os oedd clo ar y drws,

ond nid oedd yr un. Aethom i'n gwely yn ddifeddwl am ddrwg, a chysgasom; eithr yn mhen ychydig oriau, clywsem dwrw rhywrai yn dyfod i'r ystafell atom; a phan agorasom ein llygaid, y peth cyntaf a welsem oedd dyn mawr â chanwyll gynneuedig yn ei law, a'r gair cyntaf a glywsom oedd "OLD BUGGERS," oblegid Saesneg oeddynt yn siarad. Yna aethant yn mlaen at ein *watches*, y rhai oeddynt ar y bwrdd. Yr oedd tri o honynt yn weledig y pryd hyn, a chlywsem ddau ereill yn siarad tu allan i'r ystafell. Yr oedd eu rhegfeydd yn ddigon i ddychrynu un cnawd. Arosasom o hyd yn y gwely, ac wedi iddynt edrych ar ein *watches* a'n dillad, a phob peth arall, daethant yn mlaen dan regu yn enbyd at y gwely. Yr oedd ofn colli ein bywydau arnom i ddweyd dim wrthynt; a'r peth cyntaf a ofynais i iddynt oedd, beth oeddynt yn ei ymofyn? ac atebasent gan regu, os dywedem air arall wrthynt y gwnaent yn burion â ni. Dywedais wrthynt drachefn, "A welwch chwi, ffryndiau, fod yn dda i fyned allan?" Yna rhagasant yn waeth fyth, gan ddywedyd am beidio eu galw hwy yn ffryndiau; a chynnygasant ein taraw, eithr methasant â chyffwrdd un o honom. Yna wedi llonyddu dros ychydig, dechreuasant drafod ein gwynebau, a gwelsom mai gwell oedd bod yn ddystaw, a gorwedd megys wyn diniwed. Ond o'r diwedd tynasant oddi arnom y dillad, er mwyn edrych pa fath grysau oedd genym: a dywedodd un o honynt wrthyf fi, "*Old bugger*, paham na fuaset yn newid dy grys, yn lle myned â chrys glân i'r gwely?" Wedi hyny dechreuasant ddyferu gwer y ganwyll arnom, trwy ei gogwyddo uwch ein penau, eithr ymdrechasom guddio ein gwynebau goreu y gallem. Yna ceisiasant danio dillad y gwely, ond methasant yn deg. Yr oedd napcyn ar ben y brawd Snow, a gorchymynent iddo ei dynu ymaith, i'r hyn yr ufyddhaodd yn union, ac yna ymdrechasant losgi y napcyn yn ei law, ond methasant. Yna, gan regu yn enbyd, dywedent y mynent ein cael ni allan o'r gwely; a dyna hwy yn dechreu ymaflyd ynom, ond methent a'm syflid i, eithr yr oeddent yn dechreu myned â'r brawd Snow. Pan welais hyny, mi a gydiais ynddo, ac yna ein gelyn a gollodd ei afael, nes syrthio i lawr yn ngwysg ei gefn yn erbyn y pared; a'r pryd hyny diffoddodd y ganwyll, fel yn wyrthiol. Yna ni a godasom yn ein heistedd yn y gwely, ac yr oeddynt hwythau yn awr yn tyngu a rhegu y buasent yn ein lladd ar ol iddynt gynneu y ganwyll. Ofnem y buasent yn ein

niweidio â chyllyll yn y tywyllwch, eithr deallasom eu bod oll wedi myned allan o'n hystafell. Yr oedd dychryn wedi ein cymmeryd wrth feddwl ein bod mewn cymmaint perygl, a gweddiem ar Dduw i'n gwaredu. Yn mhen enyd clywsom eu swn yn dyfod i fyny atom drachefn, gan regu yn ddychrynllyd; a phan welsom oleuni y ganwyll yn dyfod i mewn, neidiasom allan o'r gwely; ac erbyn hyny yr oedd pen un o honynt yn dyfod i'r golwg yn y drws. Yna cauasom y drws yn ei erbyn, nes iddo syrthio i lawr dros rai o'r grisiau; a dyna lle y buom ni am oddeutu hanner awr yn gwthio ein cefnau yn erbyn y drws, er eu rhwystro i mewn. Yr oeddynt weithiau bron ein gorchfygu, ac ar fin dyfod i mewn; a phan yr oedd yn galed iawn arnom, clywsom y brawd Snow yn gweddio yn ddystaw, "O Dad, dyro gymhorth, canys y mae yn galed iawn arnom," at yr hyn yr ychwanegais innau "Amen, amen," dan duchan. Nid oedd amser i wneyd gweddi hir, ac nid felly y bu. Darfu i ni lwyddo i'w cadw allan trwy y cwbl; ac er i ni eu clywed yn tyngu, os gallent dori i mewn, y gwnaent ein lladd, ac er eu bod bron dyfod i mewn ar brydiau, etto yr oeddem yn cael nerth adnewyddol i'w rhwystro o hyd; ac er eu bod hwy yn bump, o leiaf, o ddynion mawrion a gwrol, darfu i ni eu gorchfygu trwy ein nerth. Wedi gweled eu hunain yn methu llwyddo, galwodd un o honynt am gadair, a dechreuodd guro y drws â hi am beth amser, hyd nes y gwaeddodd gwraig y tŷ pa beth oedd y mater; a thrwy ymdrech perswadiodd hwynt i ddyfod lawr i'w hystafell eu hunain, eithr nid heb iddynt regu y buasent yn dyfod i mewn eilwaith cyn y boreu. Yna darfu i ni *wedgio* cadair yn dŷn yn erbyn y drws, a myned i'r gwely yn mron sythu. Yr oedd yn awr oddeutu pedwar o'r gloch, yr hyn a ddaellasom trwy deimlo ein *watches*. Cysgasom ag un llygad yn agored, a'r llall yn nghau, ac ag un droed yn y gwely, a'r llall allan; a gofynais i i'r brawd Snow, os oedd yn cysgu, "Ydwyf," ebe ef, "un ochr. Pa fodd yr ydych chwi, frawd Phillips, yn cysgu?" "Wel," meddwn innau, "yr un fath â chwithau, ond nad wyf yn crynu cymmaint." "O," meddai yntau, "yr wyf fi wedi bod yn y sefyllfa hyn o'r blaen yn yr America, pan y byddai cadair yn cadw y *mobs* allan." Yr oeddem yn clywed ar brydiau ein haflonyddwyr yn rhegu oddi danom, ac megys yn parhau i fwgwth o hyd. Am oddeutu hanner awr wedi wyth, aethom i lawr wedi gwisgo, ond nis

gwelsom un o'n hen gymdeithion, ac ni charsem eu gweled yn yr agwedd a welsom arnynt yn y nos.

Yn awr, nis gallwn lai nâ meddwl nad oedd y dyhirod uchod yn byw yn y dref, neu o leiaf yn agos, a bod cynghor wedi ei gynnal, a'r dynion hyn wedi eu penodi i chwilio allan yn mha le y buasem ni yn cysgu, fel y gallent hwythau gymmeryd llety yn yr un man; ond methasant gyflawni eu hamcanion, trwy i ni eu gorchfygu wrth y drws. Yr ydym yn credu fod gwraig y tŷ yn hollol anwybodus o'r peth. Yr ydym yn diolch i Dduw am iddo ein gwaredu y tro hwn etto: a rhoddwn gynghor i'r holl henuriaid, os byddant yn cysgu mewn lleoedd o'r fath, am ofalu cloi drws yr ystafell y byddont yn cysgu ynddi; ac os na fydd clo arno, bydded iddynt gysgu ag un llygad yn agored.

William Phillips.

---

Er rhwyfiant y fall a'i rhyfel,—hyllwedd,
Mewn ellyllig annel;
Diangodd ein dau angel,
A hwylus y'nt,—"*All is well.*"

Dewi Elfed.

---

## OCHENEIDIAU Y PARCHEDIGION.

Ton—" Sectariaeth in Danger."

Gymru, Gymru, deffro'n fuan,
Cwyd dy lais, a phaid a hepian;
Tyr'd mewn nerth ac egni dibaid,
I orchfygu'r holl Formoniaid.
O, mor brudd yw ein bron;
Seintiau sydd yr oes hon,
A'u dylanwad yn gorchfygu,
O, mor brudd yw ein bron.

Gwel, mae gwersyll Methodistia,
'N crynu rhag y dynion yma;
Ow, mae teyrnas hen sectariaeth,
Yn chwilfriwio gan Formoniaeth.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Gwel, mae'r Achos Mawr yn gwywo,
O, mor wael yw yn Llangeithio;

A'r un dynghed cofia, cofia,
Ddaw i Sasiwn fawr y Bala.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Nid oes i ni mwy ond griddfan,
Dan gydwybod euog allan;
Beth a wnawn? ein marsiandaeth
Darfod mae, o flaen Mormoniaeth
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Ow, ow, ow, mae colli'r elw,
Mor druenus braidd â marw;
Ni chawn mwyach dwyllo dynion,
Llosger, llosger Llyfr Mormon.
O mor brudd yw ein bron, &c.

Mae cyfieithad Llyfr Mormon,
Yn dwyn poen ar wraidd ein calon:
O flaen gwres ei bur athrawiaeth,
Toddi'n ddim y mae sectariaeth.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Mae athrawiaeth lem y Seintiau,
'N gweithio trwy ein cnawd a'n gïau;
Dyma ryw wybodaeth ryfedd,
Sy'n ein difa wrth y fodfedd.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Trown at Dduw am nerth i waeddi,
Lladder angel hen MORONI;
O gwae ni na chawsai dagfa,
Cyn dwyn Joseph i Cumorah.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Pe bai dynion ddim ond gwybod,
Am ein gofid mawr a'n trallod.
Hwy a godent 'nawr yn heidiau,
Er difrodi pawb o'r Seintiau.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Rhoddwn fyd neu ddau, pe meddwn,
Am eu taflu oll i annwn;
Ond hen uffern a wrthodant,—
Yn y man hwy a deyrnasant:
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Amrafaelion hyll sy'n rhwygo
'R holl enwadau'r ffordd y cerddo;
Mae'r eglwysi'n derfysg drwyddynt,
Fel y môr dan ruad corwynt.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Beth a ddaw o'r byd aflonydd,
Sy'n darogan tristwch beunydd?

Beth a ddaw o'r sectau oerllyd,
Ond rhyw ddiwedd blin dychrynllyd.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Er ein gwaeddi mawr a'n dwndwr,
Gweled byd, mor wael yw'n cyflwr!
Mae Sectariaeth falch chwyddedyg,
'Nawr fel magwyr ogwyddedig.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Er dyfeisio mil o chwedlau,
'Rhain i gyd yn llawn cableddau
Ar y Saint, nid oes un gobaith,
Y cawn arnynt fuddugoliaeth.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Ofer talu hen faledwyr,
Am ysgermain lol disynwyr;
Ofer 'sgrifaw twyll lythyrau,
Er dirmygu neb o'r Seintiau.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Ofer yw ein ffug ysmala,
Am holl wragedd California;
Ofer dwlni yr "Amserau"
'N troi yn "*Rhys y celwydd goleu.*"
O mor brudd yw ein bron, &c.

Ofer chwythu celaneddau,
Ofer dweyd yn erbyn gwyrthiau;
Ofer brâd, a hyll gynllwynion;
Yn y blaen'r â'r saint yn gysson.
O mor brudd yw ein bron, &c.

Gwell yw newid ein lleferydd,
Gwell yw gado'r Saint yn llonydd;
Onite, os ant yn mhellach,
Derfydd, derfydd am ein masgnach.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Dim yw'n pregeth, dim yw'n gweddi,
Dim yw'n hwyl, a dim yw'n gwaeddi,
Dim yw'n dawn, a dim y deunydd,
Dim o ddim yw nerth ein crefydd.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Ein doethineb a'n dysgeidiaeth,
Gaed yn ddim o flaen Mormoniaeth;
Dyma lafar ein cydwybod,—
Soddi'r y'm mewn mor o drallod.
O, mor brudd yw ein bron, &c.

Ust, drueiniaid, deuwch, deuwch,
Gyda ffydd ac edifeirwch;

Trowch ar frys at Dduw y Seintiau,
A chewch wared o'ch pechodau.
Dewch, o dewch, heb nacâu,
Aeth yn hwyr, dewch yn glau,
A chewch wared o'ch griddfanau,
Dewch, O dewch heb nacâu.

*Capel Gwawr, Aberaman.* DEWI ELFED.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

GORLAWNDER sydd drafferthus, anghen sydd ofidus, anrhydedd sydd yn faich, a derchafiad sydd beryglus; ond dedwyddwch sydd yn gynnwysedig mewn digonedd.

YR hwn nad yw yn foddlawn yn ei sefyllfa, ni fyddai yn foddlawn mewn unrhyw sefyllfa pa bynag; canys nid yw y bai yn y sefyllfa, ond yn y meddwl.

ANRHYDEDD a golud ydynt y ddwy olwyn ar ba rai y mae yr holl fyd yn troi; y rhai hyn ydynt dynlafnau ein hanfoddlonrwydd.

MORMONS BOG.—Mae Llyfr Mormon yn y Daeneg wedi gwneyd ei ymddangosiad yn Nghymru. Daeth 50 o honynt i lawr i'r brawd Phillips, a gwerthir hwynt am 4s. yr un.—Mae yr un llyfr yn agos â bod yn barod yn y Italaeg. Wedi hyny ymddangosa yn y Ffrengaeg a'r Ellmanaeg, ac yna mewn ieithoedd ereill, nes yn y diwedd na bydd cenedl dan y nefoedd heb gael Llyfr Mormon yn eu hiaith eu hunain.

---

TALIADAU O HYD. 31 HYD TACH. 13.—Sir Fynwy, £4; Sir Frycheiniog, 15s 8c; Sir Aberteifi, £2 9s: Sir Gaerfyrddin, £15 1s 9¾c: Morganwg Orllewinol, £3 10s 6c: Sir Fflint, £2: Sir Fon, £1 6s: Sir Ddinbych, £1 10s: Sir Benfro, £1: Dinas, 12s 6c: Pontytypridd, 18s: Llanfabon, 19s 9c: Aberdar, £1 2s 6c: Dowlais, £1 4s: Hirwaen, £1 3s 1c: Georgetown, £1 8s: Pendaren, £1 13s 9½c; Cefn, 8s 8c; Ffynnon-Tydfil, 19s 6c.—Cyfanswm, £42 2s 9¼c.

☞ Dymunwn hysbysu y Saint fod Thomas Morgan, gynt Llywydd Cynnadledd Sir Fon, wedi ei dori allan o'r Eglwys, ac nad yw person o'r enw Liffin, yn nhref Carnarfon, yn dal un cyssylltiad â'r Saint.

☞ Mae Llyfr Hymnau Dwyieithog, yn cynnwys y ddau lyfryn Cymraeg a'r argraffiad newydd Seisnig, yn barod, wedi ei rwymo mewn croen llo, am 3s. yr un.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR TYDFIL.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 24.] TACHWEDD 29, 1851. [PRIS 1*g*.

## DYFODIAD MAB Y DYN.

[Parhad o dud. 362.]

YR oedd yr hyn a grybwyllwyd yn flaenorol, sef pregethiad yr efengyl, i gymmeryd lle cyn y diwedd diweddaf; a chan mai dynion a ddefnyddia efe fel offerynau i bregethu yr efengyl hon, rhydd iddynt amser i fyned a thraethu eu cenadwri, ac amser i'r bobl gredu ac ufyddhau, er cael eu hachub, onide paham y pregethent hi ond er mwyn i'r bobl gael diangfa rhag y llid a fydd: felly, trwy ufyddhau i'r efengyl hon yr achubir hwy. A phawb a achubir, ynte, a raid ufyddhau hon; a pha fodd yr ufyddhant hi, oni chredant hi? pa fodd y credant yn yr hyn ni chlywsant am dano? pa fodd y clywant heb bregethwr? a pha fodd y pregethant, onis anfonir hwy? A pha fodd y danfonir hwy? drwy genadwri yr angel hwnw o'r nef. Felly, gwelwn y cymmer hyn oll gryn amser ar ol yr amser y dechreuodd, sef 1830, er y dywedodd Crist mai yn yr oes, neu y genedlaeth hono, a'u gwelent (y pethau hyn) yn dechreu, y gorphenir y cyfan o honynt; etto mae yn dangos yn eglur iawn pa hyd y byddai yr amser hyny, canys rhoddodd iddynt arwydd y ffigysbren er cadarnhau mai yr oes hono a welai y dechreuad o honynt, a welent y diwedd hefyd.

Mae rhai pobl yn meddwl na ddylent chwilio pa amser y cymmerai hyny le, am i Grist ddweyd, "Y dydd a'r awr ni ŵyr neb, hyd y nod angylion y nef, ond y Tad." Er hyny, dywed yr oes ei hun, yr oruchwyliaeth, a rhoddodd nodau a ddengys y flwyddyn hefyd, a hyny i'r sawl a welant y nodau yn dyfod. A rhoddodd yr angel ryw awgrymiadau o hyn wrth Daniel (xii, 12). Wedi bod yn desgrifio y pethau nodedig oeddynt i ragflaenu, a'r am-

serau y deuent, yr amser y dechreuai gwaith mawr yr adferiad yn mhlith yr Iuddewon, y pregethid yr efengyl gan ddynion, sef y pysgotwyr a'r helwyr, &c., a'r gogoniant a welent, &c. Ond yr hyn a ymholai Daniel fwyaf yn ei gylch o bob peth oedd, pa bryd y byddai diwedd yr holl bethau hyn? Y diwedd oedd y pwnc gan Daniel, ac mae yr angel yn cael caniatâd i roddi ateb cyflawn i bob peth arall, ond nid yw yn dweyd mewn iaith mor benodol am y diwedd, er ei fod yn dweyd digon i foddloni Daniel. "Gwyn fyd," medd efe, "yr hwn a ddysgwylio, ac a ddel hyd y mil tri chant a phymtheg ar hugain o ddyddiau." Beth fydd y pryd hyny? Nid yw yn dweyd ychwaneg, ac nid oes eisieu wrth un creadur rhesymol; mae hyn yn ddigon er profi fod yn y flwyddyn hono ryw fendith fawr, rhyw amser gwynfydedig iawn; ïe, dim llai felly na'r amser hwnw y byddai y patriarchiaid a'r prophwydi yn gorfoleddu wrth feddwl am dano, yr apostolion yn marw mewn gobaith o'i gael—yr amser hwnw ag y cai Daniel (fel y dywed yr angel yn yr adnod nesaf) sefyll yn ei ran, sef yn niwedd y dyddiau, pa ddyddiau yw y dyddiau diweddaf, pan ddeuai Mab y Dyn ar gymylau y nef, ac y cai y saint gyfodi o'u beddau, a'r saint byw eu cyfnewid i'r un ffurf ag ef. Ymddengys yma ragor rhwng amser diwedd y dyddiau dial a gorthrymder hwnw, a diwedd y weledigaeth, neu ddiwedd yr annuwiol, pan adgyfodir y cyfiawn i gyfarfod Mab y Dyn—cymmaint rhagor ag sydd rhwng 1290 a 1335, gan mai y rhif cyntaf oedd diwedd y dial ar yr Iuddewon i'w gwasgaru, a dechreu eu casglu ynghyd; yna y nifer olaf a nodwyd, y gorphenir gwaith goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, ac y crynhoir, y perffeithir pob peth yn Nghrist. Y gwahaniaeth rhyngddynt, 45 o flynyddau, yw yr amser gosodedig i gasglu yr Iuddewon, i bregethu yr efengyl hon er tystiolaeth i'r holl fyd; ac yna y daw y diwedd. Nid diwedd y byd a feddylir, ond diwedd yr amser gosodedig, i roddi diwedd ar bechod, ac i buro y ddaear, yn deyrnas i Grist i deyrnasu, a'i holl Saint gydag ef, am fil o flynyddoedd.

Wedi dywedyd cymmaint â hyn am amser ei ddyfodiad, deuwn at yr ail gwestiwn a ofynodd yr apostolion i Grist, sef yn

IV. "A PHA ARWYDD FYDD O'TH DDYFODIAD, AC O DDIWEDD Y BYD?"

Yr ydym eisoes wedi dweyd beth oedd llawer o'r arwyddion a gymmerent le ar y ddaear cyn ei ail ddyfodiad, ynglyn â'r amser

a soniwyd uchod; felly, ni raid fod mor fanwl â'i hail-adrodd yma, ond dangos ereill yn eu lleoedd priodol, y rhai ni chrybwyllwyd mo honynt etto. Profwyd eisoes pa bryd y dechreuodd amser y cenedloedd, a pha bryd y diweddwyd ef; y gorthrymder mawr oedd i fod ar yr Iuddewon yn yr amser hwnw, a pha bryd y dechreuwyd casglu yr Israel i'w gwlad. Dangoswyd hefyd y cyflawnir yr adferiad hwn yn yr un amser ag y pregethid yr efengyl hono a ddanfonwyd gyda'r angel o'r nef, drwy yr holl fyd, er tystiolaeth i'r holl genedloedd;—mai yr amser y dechreuai y pethau hyn fyddai yn y flwyddyn 1830, ac y parhaent am 45 o flynyddau; ac enwaf rai o'r pethau ereill oedd i gymmeryd lle hefyd yn nghorff yr amser nodedig hwn hyd ei ddiwedd, a hyny fel y byddo pawb wedi eu rhybyddio yn onest a ffyddlawn, fel os mynant, y gallant ddeall a gwylio rhag dyfod y dydd hwnw arnynt fel dinystr disymwth, neu leidr y nos.

Mae y prophwydi yn eglur ddangos y cesglid yr Iuddewon i'w gwlad ar ol darfod y digter, ac yr adeiladent furiau Jerusalem, y cyfanneddid hi yn y dyddiau diweddaf, y byddai hen bobl a phlant yn chwarae yn ei heolydd, y trigent yn ddiogel heb dyrau na chaerau; ond gan feddwl fod yr holl ddial wedi myned heibio, dysgwyliant heddwch mwyach, ac yna y dwg yr Arglwydd holl genedloedd y ddaear i fyny i ryfela yn ei herbyn, ac i gymmeryd anrhaith aur ac arian, ac y llwyddent i fyned â hanner y ddinas i gaethiwed,—y cyfodai dau brophwyd, y rhai a brophwydent am dair blynedd a hanner, y rhai a laddai y cenedloedd, o herwydd eu bod yn eu rhwystro i fyned â'r rhan arall o'r ddinas i gaethiwed, ac ni adawent eu claddu, ond gorweddai eu cyrff yn yr heol am dri diwrnod a hanner,—wed'yn y deuent yn fyw, ac y cymmerid hwynt i fyny i'r nefoedd, ac hefyd y deuai tywyllwch mawr dros bawb, nes nad adwaenent eu gilydd,—yn y tywyllwch hwnw y lladdai y cenedloedd eu gilydd heb wybod, hyd nes gwelent ddysclaerdeb gogoniant dyfodiad Mab y Dyn ar fynydd yr Olewwydd,—y gwaredai Jacob, yr adnabyddant eu Messiah drwy y gweliau yn ei ddwylaw a'i draed, y galarai pob teulu wrtho ei hun. Ond "yna bydd holl Israel gadwedig." Efe a'u gwared o law eu gelynion, pan na allai neb arall; Efe a sych ymaith bob deigryn oddiar eu llygaid. Yna, ond nid cyn hyny, y bydd ffynnon wedi ei hagor i dŷ Ddafydd ac i breswylwyr Jerusalem, i bechod ac aflendid; ac ni welais un addewid yn y Beibl y byddai

i'r Iuddewon gael eu casglu yn ol drwy yr efengyl, nac y credent yr efengyl chwaith, hyd oni welont eu Messiah, canys dyna y dull a drefnodd er eu hachub hwy, er nad oes un addewid yr achubir y cenedloedd felly chwaith, o herwydd bydd yr efengyl eisoes wedi ei phregethu iddynt hwy er tystiolaeth o'r pethau hyn, cyn eu myned hwy i fyny i ryfel yn erbyn Jerusalem.

[Dichon y bydd yn ychydig o siomedigaeth i'n darllenwyr, nad yw y traethawd rhagorol hwn o eiddo Capt. D. Jones, wedi ei gwbl orphen ganddo ef. Meddyliasom wrth ddechreu ei gyhoeddi, y caem ni hamdden i'w orphen; eithr wedi ystyried y gofynai hyny lawer o'n hamser i olrhain ysgrythyrau, penderfynasom ei oedi dros yr amser presennol, gan obeithio ei orphen rywbryd etto.—Gol.]

---

## ANERCHIAD AT Y SAINT YN MHRYDAIN FAWR,

GAN YR HENURIAD LORENZO SNOW.

Un o Ddeuddeg Apostol Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.

Anwyl Saint,—Y mae arosiad byr yn y wlad hon wedi gwasanaethu i rwymo yn dŷnach y teimladau hyny o ddyddordeb ag sydd yn rhaid eu galw i weithrediad yn ystod cyfeillach gariadus gyda'r Saint. Gan fod yr amser yn awr yn dynesu, pan y bydd raid i mi ganu yn iach i wynebau siriol a chalonau gwresog y brodyr yn yr Ynysoedd Prydeinig, er myned i hinsoddau ereill, nis gallaf lai nag hysbysu fy nymuniadau brwdfrydig am lwyddiant a pharhad y gwaith yn y wlad hon, a lles a dedwyddwch yr holl rai sydd yn meddu y fraint o gydweithredu yn yr achos mawr a gogoneddus o daenu gwybodaeth a goleuni yn mhlith plant dynion.

I'm brodyr yn yr Offeiriadaeth, dymunaf gynnyg ychydig eiriau o gynghor, addysg, ac annogaeth. Arnoch chwi y gorphwys cyfrifoldeb uchel a dwyfol, yr hwn nid yn unig a berthyna i iachawdwriaeth y genedlaeth hon, eithr llawer o genedlaethau mynedol, a llawer o rai dyfodol. Rhaid i faniar ogoneddus teyrnas yr Immanuel, yr hon sydd wedi ei sefydlu unwaith etto ar y ddaear, gael ei chwifio yn mhlith pob cenedl, teyrnas, ac amherodraeth; rhaid i'r llais rhybydd, llais y Priodfab, "Parotowch, parotowch ffordd yr Arglwydd," gael ei gario at yr holl bobloedd; chwychwi yw y rhai a ddewisodd yr Arglwydd i'r

dyben hwn, ïe, corn Joseph, i wthio ei bobl ynghyd. Yn ddiau nis gellwch fod yn rhy awyddus, nac yn rhy ddiwyd, yn chwilio allan y ffordd fwyaf defnyddiol i chwi eich hunain, ac i ddynolryw, i fawrhau eich swyddi santaidd a chyssegredig. Yr Offeiriadaeth fydd yn rhoddi i chwi gymmeriad, enwogrwydd, doethineb, gallu, ac awdurdod, ac yn eich adeiladu lawr yma yn mysg plant dynion, a fry yn eich dyrchafu i heddwch a dedwyddwch, i ogoniant, i orseddau a llywodraethau, ïe, trwy dragywyddoldebau dirif. Mae y byd hwn, yn ei deyrnasoedd a'i amherodraethau, mewn rhyw radd yn meddu gogoniant a mawredd, ac yn gwanaidd gysgodi allan yr hyn a gynnwysir mewn ardaloedd uwchlaw; ond yma, ychydig ddedwyddwch, ychydig barhad, a gyssylltir â'r rhai hyn. Mae y byd a geisiwn ni yn dwyn i'w drigolion ogoniant diddiflanedig, enwogrwydd anfarwol, a llywodraethau o gynnydd parhaus, lle y mae teuluoedd yn dyfod yn genedloedd, cenedloedd yn genedlaethau, cenedlaethau yn fydoedd, a bydoedd yn gyfundraethau; dyma LWYBR yr offeiriadaeth—LLWYBR y rhai santaidd. Da y dywedodd yr Apostol, "Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn, y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef; eithr Duw a'u heglurodd i ni trwy ei Ysbryd, canys yr Ysbryd sydd yn chwilio pob peth, ïe, dyfnion bethau Duw hefyd."

Nid rheol awdurdodol yw y rheol briodol i lywodraethu y Saint â hi; yn hytrach ceisiwch weinyddu mewn ysbryd gostyngeiddrwydd, doethineb, a daioni, gan beidio dysgu cymmaint trwy wybodaeth anymarferol nag a ddysgir mewn ymarferiad. Er y gall rhywun ddysgu gydag hyawdledd angel, etto y mae ymarferiadau da rhywun, ei esiamplau da, a'i weithredoedd, y rhai a ddangosant yn barhaus ddymuniad i lesoli y bobl, yn dysgu yn llawer mwy hywadl, ac yn llawer mwy effeithiol. Yn wir, ychydig sydd yn meddu digon o wroldeb dynol i fod yn wir onest, ffyddlawn, rhinweddol, ac anrhydeddus yn mhob sefyllfa—yr ychydig hyn o ddaliant afael yn yr offeiriadaeth, ac a dderbyniant ei chyflawnder, ond nid neb arall, Rhaid chwilio yn awyddus am burdeb, rhinwedd, diysgogrwydd, a santeiddrwydd, cyn yr ennillir y goron. Rhaid i'r egwyddorion hyny gael eu cydgorffoli â ni ein hunain, eu gwau yn ein cyfansoddiadau, a dyfod yn rhan o honom, gan ein gwneuthur yn ganolbwynt, yn ffynnonell o wirionedd, uniondeb, cyfiawnder, a thrugaredd, ac o'r

hyn oll sydd ddaionus a mawreddog, fel y deillio oddiwrthym ni y goleuni, y bywyd, y gallu, a'r gyfraith i gyfarwyddo, i lywodraethu, a chynnorthwyo i achub byd crwydredig; gan weithredu megys meibion Duw, dros ac yn lle ein Tad o'r nef. Yn yr adgyfodiad dysgwyliwn i ymarfer galluoedd ein hoffeiriadaeth —nis gallwn eu hymarfer ond yn unig i'r graddau y sicrhawn ei chyfiawnder a'i pherffeithderau; nis gellir cael y cymhwysderau hyn ond yn unig trwy eu ceisio a'u meddiannu hwynt, fel yn moreu yr adgyfodiad na fyddom yn meddu ond yn unig y cyrhaeddiadau hyny a sicrasom yn y byd hwn! Nis gellir *rhoddi* duwioldeb, eithr rhaid ei *chyrhaeddyd*, ffaith ag y mae y byd yn ymddangos yn hynod o anwybodol yn ei chylch. Ceisiwch lesoli ereill, ac ereill a geisiant eich llesoli chwithau; a'r hwn sydd am fod yn fawr, bydded yn ddaionus, yn myfyrio lleshad yr oll, gan fod yn was i bawb, trwy yr hyn y sicrha iddo ei hun fwyaf o ddoethineb a gallu Duw, cariad, parch, ac anrhydedd ei bobl.

Rhaid i'r henuriaid ddyfod yn bersonau o'r cyfrifoldeb mwyaf. Ymddibyna dedwyddwch pobloedd, cenedloedd, a chenedlaethau, ar ymarferiad cyfreithlawn a ffyddlawn galluoedd eu swyddi. Os yn y cylch lleiaf o weithrediad y methant gael eu hymddiried, pwy a ymddibyna arnynt yn y mwyaf? Gyda golwg ar y cyfrifoldeb dirfawr a osodir ar ddynion yn yr alwedigaeth uchel hon, gadewir hwynt i raddau wrthynt eu hunain i weithredu yn ol eu hewyllys rydd; os pasiant yn mlaen hyd derfyn eu hymbrawf presennol, heb eu dadymchwelyd gan alluoedd y fall, gan gadw eu hysbrydoedd yn bur, a thrwy allu yr Ysbryd Glân ddysgu ac adeiladu eu hunain yn y cymhwysderau angenrheidiol i'r fath ddyrchafiad, yna, mewn amser cyfaddas, Duw a'u cyfoda hwynt i'r sefyllfaoedd hyny. Yn eich holl weithredoedd a'ch ymddygiad meddiannwch yr ymwybodolrwydd hwnw eich bod yn awr yn parotoi ac yn creu bywyd i chwi eich hunain i barhau trwy dragywyddoldebau; na weithredwch ar un egwyddor y byddo arnoch gywilydd neu anewyllysgarwch i weithredu arni yn y nef, ac na ddefnyddiwch foddion i gyrhaedd unrhyw amcan y byddo cydwybod oleu a nefol yn anghymmeradwyo. Tra y byddo teimladau a nwydau yn eich cynhyrfu i weithrediad, bydded i egwyddorion pur, anrhydeddus, santaidd, a rhinweddol, eich rheoli a'ch llywodraethu yn barhaus. Y mae Duwdod o'n mewn, Duwdod yw ein

cyfansoddiad ysbrydol--plentyn Duw, wedi ei genedlu ar ei ddelw ef; gan hyny, frodyr, "Bydded ynoch y meddwl yma, yr hwn oedd hefyd yn Nghrist Iesu, yr hwn, ac efe yn ffurf Duw, ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw." "Y creadur," neu blant Duw, a ddygwyd i'r byd hwn, "nid o'u bodd," gan gael eu darostwng i oferedd, tristwch, a phoenau, eithr i wneuthur ewyllys y Tad, a chyrhaedd gogoniant ac etifeddiaeth nefol, i ddyfod yn un â Duw; "A'r hwn sydd ganddo y gobaith hwn ynddo, sydd yn puro ei hun, megys y mae Duw yn bur."

Yr ydym ni yma fel y caffom ein dysgu mewn ysgol o ddyoddefgarwch a threialon tanllyd, yr hon ysgol oedd yn anghenrheidiol i'r Iesu, ein brawd henaf, yr hwn, medd yr ysgrythyr wrthym, a berffeithiwyd trwy ddyoddefiadau. Mae yn anghenrheidiol i ni ddyoddef yn mhob peth, fel yr addaser ni, ac y byddom yn deilwng i lywodraethu a rheoli pob peth, megys ein Tad yn y nefoedd a'i fab henaf Iesu. Mae Duw wedi dadguddio i ni y dirgelwch a chwilia yr holl fyd am dano, eithr a fethant ei gael, o herwydd balchder, drygioni, a gallu Satan yn tywyllu eu meddyliau, a hwnw yw llwybr iachawdwriaeth a dedwyddwch ein personau.

Ac yn awr, pa le mae y dyn yn eich plith, wedi cael unwaith rwygo y llen a syllu ar burdeb, gogoniant, gallu, mawrhydi, a llywodraeth dyn perffeithiedig, mewn gogoniant nefol, yn nhragywyddoldeb, ag na roddai ei fywyd i lawr yn ewyllysgar, dyoddef yr arteithiau mwyaf poenus, a gadael i aelod gael ei dynu oddiwrth aelod, cyn y dianrhydeddai neu y rhoddai i fyny ei Offeiriadaeth. Mewn gwirionedd y traethodd ein Hiachawdwr y ddammeg hon, "Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i farchnatäwr, yn ceisio perlau teg; yr hwn, wedi iddo gael un perl gwerthfawr, a aeth ac a werthodd gymmaint oll ag a feddai, ac a'i prynodd ef: a thrachefn, yn gyffelyb i ddyn yn cael trysor mewn maes, yn gwerthu yr oll a feddai, ac yn prynu y maes." Mae y gogoniant a ddadguddiwyd i'n golwg, a'r hwn ydym yn ei geisio, yn gyffyrddadwy, a gellir ei deimlo, ei weled, a'i glywed; eithr y mae ei hŷd, ei led, ei ddyfnder, ei fawrhydi, ei dangnefedd, ei lawenydd, ei ddedwyddwch, uwchlaw pob dealltwriaeth: nis gall tafod ei draethu, ac nis gall iaith osod allan ei faintioli a'i helaethrwydd.

(*I'w barhau.*)

## NODIADAU W. GIBSON AR LYFR MORMON.

[Parhad o dud. 352.]

Yn nesaf awn yn mlaen yn ol ein haddewid, i ddangos ei gyssondeb â'r ysgrythyr.

Y rhan fwyaf o'r llyfr a gymmerir i roddi hanes am bobl y dywedir eu bod yn rhan o had Abraham, ac yn ddisgynyddion o Joseph. A ydyw y prophwydoliaethau a gynnwysir yn y Beibl yn ein tywys i ddysgwyl y byddai i ddisgynyddion Joseph byth fyned i'r America, a dyfod yn bobl fawr, a derbyn dadguddiadau iddynt eu hunain? Cawn weled: ac yn nechreu yr olrheiniad, bydded i'n darllenwyr ymdrechu rhoddi o'r neilldu bob rhagfarn, a rhoddi yr un faint o grediniaeth i'r prophwydoliaethau ar y pwnc hwn, ag a roddir i'r rhai hyny a gyfeiriant at ddyfodiad cyntaf y Messiah.

Myfi a ddechreuaf gyda'r 49ain bennod yn Genesis, a'r 16eg adnod, "A Jacob a alwodd ato ei feibion, ac a ddywedodd, Ymgesglwch ynghyd, fel y gallwyf ddywedyd i chwi beth a ddygwydd i chwi yn y dyddiau diweddaf." Yna, gan lefaru am Joseph a'i had yn y 26ain adnod, efe a ddywed, "Bendithion dy dad (Jacob) a ragorodd ar fendithion fy rhieni (Abraham ac Isaac) hyd derfynau bryniau tragwyddoldeb: a byddant ar ben Joseph, ac ar goryn yr hwn a neillduwyd oddiwrth ei frodyr." Gofynaf, gan hyny, beth oedd y bendithion a roddodd Abraham i Isaac, ac Isaac i Jacob? gwlad Canaan yn etifeddiaeth dragywyddol oedd. Gan hyny, os rhagorai bendith Joseph ar yr eiddynt hwy, yn gymmaint fel y cyrhaeddai ei etifeddiaeth hyd derfyn bryniau tragywyddoldeb, a hyn yn ol ei ystyr gyffredin, ac y buasai rhaid iddo feddwl y pellder mawr hyny o wlad Canaan, yna, a allai rhyw un o'r doethion ddywedyd wrthyf yn mha le y gall yr etifeddiaeth hon fod, os nad yn America? canys yno yn unig y gallwn gael terfyn bryniau tragywyddoldeb o wlad Canaan, neu etifeddiaeth eu brodyr; a chan na allem yn rhesymol ddysgwyl y meddiannai had Joseph yr holl dir sydd rhwng Canaan a therfynau bryniau trgywyddoldeb, rhaid i ni ddysgwyl, os yw y Beibl yn wir, mai terfynau bryniau tragywyddoldeb (oddiwrth etifeddiaeth eu brodyr) a ddylai had Joseph gael iddynt eu hunain yn etifeddiaeth neillduol.

Yn nesaf, cymharaf hyn â'r bendithion a roddes Jacob i feibion Joseph, fel y gwelir yn y 48ain bennodo Genesis, o'r 15fed i'r 20fed adnod. Yn yr 16eg adnod, y mae yn dywedyd y "byddai iddynt gynnyddu yn dorf yn nghanol y ddaear;" ac yn y 19eg adnod, gan lefaru am y mab ieuengaf, Ephraim, efe a ddywed, "ei had ef a fydd yn lliaws o genedloedd." Yn awr, cyfyd gofyniad, A ddarfu y rhan a arosodd gyda'i frodyr yn ngwlad Canaan, ddyfod yn lliaws o genedloedd yno? Yr atebiad yw, naddo; gan hyny, rhaid i ni edrych at derfynau bryniau tragywyddoldeb, ac os na chanfyddwn hwy yno yn lliaws o genedloedd, yna rhaid mai gau-brophwyd oedd yr hen Jacob. Gadewch i ni edrych i'r America, i weled beth a ganfyddwn yno; canfyddwn yno liaws o genedloedd, a chanddynt wahanol ieithoedd, cyfreithiau, llywodraethau, a thiriogaethau, ac etto eglur yw eu bod o'r un boncyff. Os cymmerwn hyn mewn cyssylltiad â bendith Jacob, rhaid i ni ddod i benderfyniad, os credwn fod y Beibl yn air Duw, mai had Joseph ydynt hwy.

Yn nesaf, dyfynwn ychydig o'r prophwydoliaethau a gyfeiriant at y lle y canfyddid had Joseph pan ddychwelai eu brodyr yn ol i wlad Canaan, i dderbyn eu hetifeddiaeth. Zechariah, yn y 10fed bennod o'i brophwydoliaeth, o'r 7fed i'r 11eg adnod, gan lefaru am Ephraim, a ddywed yn y 9fed adnod, "Hauaf hwynt yn mysg y bobloedd, a hwy a'm cofiant i mewn gwledydd pell;" ac yn y 10fed adnod, llefara am ddygiad rhan arall o honynt o'r Aifft ac o Assyria, i Gilead ac i Libanus, canys Ephraim oedd i gael etifeddiaeth gyda'i frodyr yn ngwlad Canaan, heblaw yr etifeddiaeth hon a addawyd tua therfynau bryniau tragywyddoldeb. Y gofyniad, gan hyny yw, pa le y canfyddir y gwledydd pellenig hyn, lle y mae disgynyddion Ephraim i gofio yr Arglwydd, pan y dygir eu brodyr yn ol o'r Aifft ac o Assyria? A gawn ni edrych am danynt i'r dwyrain a'r gorllewin, i'r deau ac i'r gogledd? Hosea a ddywed wrthym: gwel Hosea, y 11eg bennod, a'r 9fed adnod; yno, gan lefaru am Ephraim, dywed yn y 10fed adnod, "Pan rua efe (yr Arglwydd), y plant a grynant allan o'r *gorllewin*," ac yn y 17eg adnod dyweda, yr un modd â Zechariah, am ran arall o honynt yn yr Aifft ac yn Assyria.

Yn awr, canfyddwn ran o had Joseph (sef yn y gorllewin o Ganaan, wrth reswm); o ganlyniad, y gofyniad nesaf yw, pa mor bell yn y gorllewin? Zechariah a ddywed mai gwlad bell

ydyw; ac mewn gwirionedd byddai yn wlad bell iawn os byddai tua therfyn eithaf bryniau tragywyddoldeb o wlad Canaan; ond Zechariah a rydd fwy o oleuni ar y pwnc, oblegid yn ei 3ydd bennod a'r 10fed adnod, y dywed, "O'r tu hwnt i afonydd Ethiopia y dwg fy ngweddiwyr, sef merch fy ngwasgaredig, fy offrwm;" os, gan hyny, y byddent y tu hwnt i afonydd Ethiopia, pa mor bell y cyrhaeddai yr hyn a elwid yn Ethiopia yn y dyddiau gynt? Yn atebiad, rhoddaf grynodeb o'r hyn a ymddangosodd yn yr "Edinburgh Evening Courant," am yr 16eg o Hydref, 1848. Mewn erthygl yno ar y darganfyddiadau diweddar a wnaed yn yr America, yr ysgrifenydd a sylwa,—"Yr Aifft, pe siaradwn yn gyfyngol am dani, sydd allu Affricanaidd, etto ei llywodraeth a ymestyna i Affrica ac Asia, ac uwchlaw yr hyn oll oedd (yn y rhan Affricanaidd), cynnwysai yr hyn a elwid yn dir Cush neu Ethiopia, yn ei ystyr boreuol a mwyaf helaeth, gan gymmeryd i mewn Arabia ac Affrica, o'r Môr Coch hyd geulanau y Nilus ar hyd ei holl yrfa." Gan hyny, os cynnwysai Ethiopia, yn ei ystyr cyntefig, Arabia ac Affrica, a bod rhan o had Abraham, y rhai a wasgaresid, i gael eu dwyn yn offrwm i'r Arglwydd yn y dyddiau diweddaf, o'r tu hwnt i'w hafonydd, pa rai yn y rhanau gorllewinol a redant i'r Mor Werydd; gan hyny, rhaid mai yn rhywle tu hwnt i'r cyfandir hwn, y byddai i'r offrwm hwn gael ei ddwyn, pe amgen ni allai byth fod tu hwnt i afonydd Ethiopia. Fy nghyfeillion, edrychwch ar y darlunlenau, a gwelwch os gallai hyn gael ei gyflawni mewn un man heblaw yn yr America.

Esaiah, yn ei brophwydoliaeth, a'i gwna yn fwy amlwg fyth, trwy roddi i ni ddull y tir oedd y tu hwnt i afonydd Ethiopia, o ba le y dygid offrwm i Arglwydd y lluoedd yn y dyddiau diweddaf.—Gwel Esaiah xvii. Yn y 7fed adnod llefara am yr offrwm a ddygid i'r Arglwydd, ac yn yr adnod gyntaf rhydd i ni ddesgrifiad o'r tir y dygid ef (sef yr offrwm) o hono. Efe a ddywed, "Gwae (neu fel y mae mewn rhai hen gyfieithadau, "Ho,") y tir a gysgoda ag adenydd, yr hwn sydd tu hwnt i afonydd Ethiopia." Yn awr, gyfeillion, agorwch o'ch blaen ddarlunlen America, i edrych a ellwch roddi gwell darluniad o hono nâ thir yn cysgodi ag neu ar ddull adenydd. Yn awr, edrychwch beth a brawf yr ychydig ddyfyniadau hyn. Yn gyntaf, Zechariah a ddywed fod rhan o had Ephraim mewn gwlad bell,

lle y byddent i gofio yr Arglwydd. Hosea a ddywed wrthym mai yn y gorllewin y mae y wlad hon. Zephaniah a ddywed wrthym pa mor bell y mai y tu hwnt i afonydd Ethiopia; ac Esaiah a ddywed wrthym, am y tir y tu hwnt i afonydd Ethiopia, mai tir yn cysgodi ag adenydd yw.

*(I'w barhau.)*

---

## DYFFRYN Y MYNYDDOEDD.

TON.—"Boreu Teg."

O BABILON, O Babilon,
Pa hyd caethiwi di fy mron?
Dy alar du, mal ymchwydd tòn,
Sy'n dilyn dy ardaloedd;
Ond O, fy nghalon hoffa 'nawr,
A'i hyder dwys bob enyd awr,
Am ddinas y Llyn Halen Fawr,
Yn Nyffryn y Mynyddoedd.

Fy'm ceraint hoff sydd braidd i gyd,
Yn troi'n elynion gwaetha'r byd;
Mae hyny yn cyffroi fy mryd,
I Ddyffryn y Mynyddoedd:
Amlyga hyn yn rhwydd i mi,
Nad yma mae fy'm cartref i;
Ond af ac adeiladu'm tŷ,
Yn Nyffryn y Mynyddoedd.

Paham cynhyrfa'r byd o'r bron,
Yn erbyn yr efengyl hon,
Sy'n galw rhai alaethus fron,
I Ddyffryn y Mynyddoedd.
Ond Duw a gasgla'r oll ynghyd
O'i saint, o bedair congl byd,
I'w hetifeddiaeth hafaidd glyd,
Yn Nyffryn y Mynyddoedd.

Mwynheir pleserau o bob rhyw,
A chânt o ffrwyth eu llafur gwiw,
A than eu gwynwydd byddant byw,
Yn Nyffryn y Mynyddoedd;

A bwyta'u gwala heb un gwawd,
A chyfarch gwell gan anwyl frawd,
Ni welir mwy'r truenus tlawd,
Yn Nyffryn y Mynyddoedd.

Pa le mae'r llong fedd hwyl sy'n gref,
I dderbyn gwych awelon nef,
I'm cario dros y môr i dref,
I Ddyffryn y Mynyddoedd;
Ow! llyfna'th wyneb, arw fôr,
A'r gogledd, cadw'th wyntoedd oer,
Fal gallwyf fyn'd i foli'm Ior,
I Ddyffryn y Mynyddoedd.

*Glynmil.* JOHN WILKINS.

---

## AT DDOSPARTHWYR, DERBYNWYR, A DARLLENWYR YR "UDGORN."

ANWYL FRODYR,—Yn nghanol ein llafur i ddwyn allan Lyfr Mormon yn Gymraeg, cymmerwn hamdden, megys ar derfyn y flwyddyn, i'ch anerch mewn perthynas i'r UDGORN. Gwyddoch fod yr UDGORN, erbyn hyn, wedi bod yn udganu am yn agos i dair blynedd, yn weddol o lwyddianus; ac nad yw ei udganwr, hyd yn hyn, yn teimlo un awydd i'w roddi i fyny, serch fod ei fryd efallai yn fwy ar Lyfr Mormon, ar hyn o bryd. Meddyliwn fod rhai o'r Saint yn meddwl llai am yr UDGORN, oddiar pan gawsant yr Athrawiaeth a Chyfammodau a Llyfr Mormon, yn Gymraeg: y mae hyny yn lled naturiol, canys ni allem feddwl cymmaint am yr UDGORN ein hunain, tra wrth y gorchwyl o gyfieithu y llyfrau uhod. Ond yn awr, mae ein meddwl yn dechreu gogwyddo at yr UDGORN, gan y bwriadwn orphen y cyfieithad, os cawn fywyd ac iechyd, yn mhen oddeutu tri mis, yr hyn a fydd yn lafur caled iawn, er mwyn cael ein pen yn rhydd at yr UDGORN a phethau ereill. Etto, nid yw yr UDGORN yn cael ei esgeuluso yn bresennol, eithr y mae ynddo lawer o bethau dyddorol iawn. Ond pan gawn fwy o amser ato, yr ydym yn addaw ei wneuthur yn llawer mwy teilwng o dderbyniad, trwy ysgrifenu mwy ein hunain, mewn ffordd o draethodau ac hanesion o'r Dyffryn a gwledydd tramor. Mae galwad mawr

am hanesion yn mysg pawb, ac ymdrechwn eu boddloni yn hyny ac yn mhob peth arall.

Yn awr, mae yr UDGORN am y flwyddyn hon yn rhad iawn, ac ystyried mai ychydig gyda dwy fil a gymmerir; ïe, mae yn rhy rad, ac nis gellir ei werthu am GEINIOG y flwyddyn nesaf, os na cheir llawer yn ychwaneg o dderbynwyr iddo. Cawsom ein siomi yn fawr ar ddechreu y flwyddyn hon; golygem gael tair mil yn y man lleiaf, yn lle dwy. Gan hyny, yr ydys wedi penderfynu gan Brif Lywyddiaeth Cymru, mai pris yr UDGORN, y flwyddyn nesaf, i'r Cangenau a gymmero lai o nifer nag eleni, fydd CEINIOG A DIMAI yr un; a CHEINIOG yr un i'r rhai a gymmerant yr un nifer neu ychwaneg nag eleni. Cofier fod hyn i fod mewn grym yn mhob Cynnadledd, oddieithr Cynnadleddau y Gogledd, y rhai a gant yr UDGORN am geiniog, o herwydd eu pellder. Bydd un o bob ugain yn cael ei ganiatau, fel yn bresennol, oddieithr i ni gael tair mil o dderbynwyr, pan y gwneir cyfnewidiad. Bydded i ddosparthwyr y Cynnadleddau sylwi pa gangenau a fydd yn danfon am lai neu fwy, fel y gallont gadw at y rheol.

Danfoner gwybod i ni o bob man trwy Gymru, pa nifer a ellir dderbyn o'r UDGORN, trwy y flwyddyn nesaf, yn mhob cangen a chynnadledd, erbyn yr 20fed o Ragfyr, yn ddiffael; ac na orchymyned neb am fwy nag sydd ganddynt o ffydd i'w gwerthu; ac os bydd rhywrai yn ymofyn ychwaneg nag a fyddont yn orchymyn ar y dechreu, gallant eu cael trwy roddi pythefnos o rybydd. Cofied yr holl lywyddion fod gwerthiad y llyfrau yn ymddibynu arnynt hwy yn fwy na neb; am hyny, bydded iddynt ymdrechu, a chant eu gwobrwyo gan Dduw. Y sawl sydd yn ddiog a difater ynghylch y gwaith hwn, sydd yn ddiog a difater ynghylch y gwaith goreu.

---

## GWAEDD GYSTUDDIOL PLANT DUW YN MABILON FAWR Y DYDDIAU DIWEDDAF.

PA hyd y byddwn ni, O Dad,
Yn ngwlad y cystudd mawr,
Lle lladdwyd gynt ein Hiesu mâd,
Lle treisir ninnau 'nawr.

*Byrdwn.*

Cymmerwch bwyll, fy mhlant o hyd,
'Rwy'n gwybod am orthrymder byd;
'Rwyf gwedi addaw, ac fe wnaf
Eich casglu oll ynghyd;
Cewch etifeddu'r tir,
Rai addfwyn cyn bo hir.
Cewch fyn'd o Babel dir
Tua Seion cyn bo hir,
'Rwy'n teimlo drosoch chwi, fy mhlant,
Cewch fyned cyn bo hir.

Er bod yn dirion gyda'r byd,
Nis gall ein caru'n gu;
A'n diniweidrwydd sydd yn fawr,
Er hyn erlidiant ni.

Mae'r Ysbryd roddais ti i ni,
Yn argyhoeddi'r byd;
O herwydd hyn gorthrymir ni,
Fel cas wrthrychau llid.

Beth bynag dd'wedwn wrth y byd,
Fe'i gwrthwynebir ef,
Ac fe'i bernir ef y drwg
O'r mwyaf dan y nef.

Lle bynag awn ni, O ein Tad,
Fe'n hadnabyddir ni:
Nid oes i'n lonydd mewn un man,
Wrth fod yn blant i ti.

Bod yn guddiedig yn y byd,
Nis gallwn ni o ran;
Arogledd dy wybodaeth di
Sydd trwom yn mhob man:

Am ufyddhau'th gyfreithiau di
Yr ydym ni'n cael drwg;
Meddasom gynt gyfeillach byd,
Ond 'nawr eu cas a'u gwg.

*Fflint.* THOMAS CONWAY.

## AMRYWIAETHAU, &c.

NEWYDDION O'R CYFANDIR.—Mae yr Henuriad Erastus Snow wedi cyhoeddi yn ddiweddar argraffiad o Ganiadau Seion yn y Danaeg, ac y mae yr Athrawiaeth a Chyfammodau wedi ei gyfieithu i'r iaith hono, ac yn cael ei ddiwygio y waith olaf cyn myned i'r wasg.—Deallwn hefyd fod yr Henuriad Taylor yn yr Almaen, a'i fod wedi dechreu cyhoeddi Llyfr Mormon yn yr Ellmynaeg; y mae yn bwriadu dwyn cyhoeddiad allan hefyd o Hamburg yn ddioed.—*Star*.

MAE yr Henuriad Parley P. Pratt, ond odid, erbyn hyn, yn Chili, neu Peru, yn yr America Deheuol, i'r dyben neillduol o bregethu yr Efengyl yn mhlith teuluoedd y rhan hono o'r ddaear. Mor gyflym y mae canwyllau yr Arglwydd yn cael eu cynneu yn amrywiol wledydd y byd; a gwyn fyd y rhai a dywysir gan eu goleuni adref i Seion ac at eu Duw.—*Star*.

AUSTRALIA.—Ymddengys wrth y llythyr a welsom yn y *Star* ddiweddaf, fod yr Henuriaid G. W. Wandell a John Murdock, yn llafurio yn y wlad bellenig uchod, lle yr hyderir am weled cynauaf toreithiog.

MEWN llythyr oddiwrth yr Henuriad David Candland, dyddiedig Halifax, Nova Scotia, Hyd. 24, hysbysir fod gwaith yr Arglwydd yn ymadnewyddu mewn bywyd a nerth yn yr ynys hono, a bod yno gapel cysurus gan y Saint, a galwad am henuriaid.

DYFFRYN Y LLYN HALEN.—Yn ol pob hanesion a welsom, mae pob peth yn myned yn mlaen yn hwylus iawn yn y Dyffryn; er hyny, nid oes dim newyddion neillduol wedi dyfod oddi yno yn ddiweddar, ond hanes yr wyl, yr hon fuasai yn dda genym allu ei chyhoeddi yn gyflawn, pe meddem le.

TEITLAU o anrhydedd yn cael eu rhoddi i ddynion annheilwng, ydynt, ar y goreu, ond yr argraff freninol yn cael ei gosod ar arian drwg.

GWISG NEWYDD BENYWOD.—Mae y byd hwn yn dra chyfnewidiol, canys mae y benywod yn dechreu myned i wisgo llodrau a siacedi! Nid rhyfedd, buont yn ysgubo yr ystrydoedd â'u gynau yn ddigon *hir*, yn mhob ystyr o'r gair; tro y gwrrywod yw gwneyd hyny yn awr; ac y mae eisoes amryw fechgynach yn Llundain wedi eu cyflogi i ysgubo yr ystrydoedd yn eu lle. Mae llawer o'r ystlen deg i'w gweled yn yr America yn eu gwisg newydd, a chlywsom fod amryw hefyd yn Lloegr, a bod rhai yn myned oddiamgylch i bregethu yr hen ddull allan o fodoliaeth. Llwyddiant iddynt i gael rhywbeth yn well na'r hen wisg, fel y gallont ddilyn y gwrrywod trwy y llaid, yn fwy didrafferth nag yn bresennol.

RHYBYDD.—Pwy bynag a geir yn ysmocio o fewn y tŷ a breswyliwn ni, a gaiff yr anrhydedd o weled ei enw yn gyhoeddedig yn yr "Udgorn," ynghyd â rhai sylwadau ynghylch ei drosedd. Y gyfraith yw, nad oes i neb o'r Saint i ysmocio yn annedd-dŷ y Golygydd.

DENMARK.—Mae yr Eglwys yn Denmark, yn mha le y mae'r Henuriad Erastus Snow yn llywyddu, yn awr dros dri chant o aelodau, a chafodd dros driugain eu bedyddio mewn dau fis.

PEIDIWCH dweyd celwydd hyd y nod mewn digrifwch, canys y mae celwyddau digrif yn dwyn gofidiau prysur; ynfyd yw y dyn a ddinystria ei enaid ei hun, er mwyn gwneyd digrifwch i dynion ereill.

YR hwn a ragrithia wrth Dduw, nid yw yn deilwng i ddyn ymddiried ynddo.

YR hwn sydd yn myned i'r tafarn yn gyntaf er mwyn cwmpeini, a aiff yno yn y diwedd er mwyn y ddiod.

NAC esgeuluswch un cyfleusdra i wneuthur daioni, yna ni chewch un cyfleusdra i wneuthur drygioni.

RHEOLAU DA I'W COFIO.—1. Na adawa i amser fyned i golli; ond bydd yn wastadol yn ymarfer diwydrwydd. 2. Ni cholli ddim mewn dweyd y gwir. 3. Na ddywed dim drwg am berson pan na elli ddweyd dim da am dano; nid yn unig siarada yn haelionus, ond teimla felly. 4. Na fydd yn gyffrous ac angharIadus i neb. 5. Na ymarfer unrhyw foethau dianghenrhaid. 6. Gwna bob peth gydag ystyriaeth; a phan fyddo rhwystrau ar dy lwybr i weithredu yn iawn, rho dy ymddiried yn y Gallu hwnw sydd yn abl i'th gynnorthwyo, gan wneyd defnydd hyd ag y gallot o'th alluoedd dy hun.

---

TALIADAU O DACH. 14 HYD DACH. 27.—Morganwg Orllewinol, £3 7s 6c; Sir Fflint, £1; Pontytypridd, £3 1s 8c; Cwmbach, 7s; Aberdar, £1; Georgetown, £1 6s 4c; Merthyr, £1 10s; Cefn-coedymmar, 8s 8½c; Ynysgou, 4s; Aberaman, £1.—Cyfanswm, £13 5s 2½c.

☞☞ Galwn sylw neillduol pawb at erthygl yn y rhifyn hwn, a ysgrifenir "At Ddosparthwyr, Derbynwyr, a Darllenwyr yr UDGORN." Ymdreched pawb ei ddeall.

☞ Pwy bynag sydd yn ewyllysio cael ei "Ath. a Chyf." wedi ei rwymo yn Llundain, am 1s. 2c., mewn croen, ac wedi ei oreuro, anfoned ef yma o hyn i wythnos i heddyw, gan na fydd cyfle i'w gael am hir amser ar ol hyny.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 25.] RHAGFYR 13, 1851. [PRIS 1*g*.

### LLYTHYR-YSGRIFENU.

GAN JOSEPH SMITH.

[O'r *Evening and Morning Star*, Medi, 1832.]

Y MAE y gelfyddyd o ysgrifenu yn un o'r bendithion mwyaf a feddiannwn. Mae ei gwrteithio yn ddyledswydd arnom, a'i hymarfer yw ein braint. Trwyddi y gall meddyliau y galon weithredu heb y corff, a'r meddwl siarad heb y pen, tra filoedd o filltiroedd ar wahan, ac am oesau ar ol i'r cnawd ddychwelyd yn ol i'w fam-ddaear. Anwyl ddarllenydd, a wyt ti erioed wedi myfyrio ar y fendith syml, buddiol, a nefol hon? Y mae yn un o roddion goreu Duw i ddyn, a braint dyn yw ei mwynhau. Trwy ysgrifenu, y mae gair yr Arglwydd wedi ei gyflwyno i breswylyddion y ddaear o genedlaeth i genedlaeth. Trwy ysgrifenu, y mae darganfyddiadau a gwybodaeth dynion wedi eu derbyn, oes ar ol oes, er lleshad y byd. Trwy ysgrifenu, y mae amgylchiadau bywyd, megys y ffurfafen uwchben y môr, wedi eu gwasgaru ar ffrydlif amser, er i lygaid y tyrfaoedd sydd yn codi edrych arnynt. A thra yr ydym fel hyn yn cyfrif rhai o'r bendithion a'r mwynderau deilliedig oddiwrth y gelfyddyd ardderchog hon, na fydded i ni anghofio edrych ar ychydig o'r melldithion a'r drygioni sydd yn canlyn y cam-arferiad o'r fraint oruchel hon. Tra yr ydym yn canfod cymmaint o ddefnydd y mae ychydig dân yn ei enyn, na fydded i ni sefyll yn fud. Na fydded i ni anghofio rhoddi gwell esiampl, pan y gwelwn yr athrodwr yn trochi ei ysgrifell mewn bustl i ddileu gair da rhyw berson diniwed. Bydded i ni wylo, canys felly y gwna y nefoedd, pan y mae

mawrion ein byd yn ysgrifenu eu gogoniant yn nagrau yr amddifad a'r weddw. Bydded i ni alaru, tra y mae gwagedd y byd yn cael ei ysgrifenu er twyllo, mewn llythyrenau o aur. Ond digon, canys y mae y drygionus yn ysgrifenu eu gwarant angeuol eu hunain, a chenllysg yr Arglwydd a ysguba ymaith noddfa celwydd. Yr ydym ni, dyscyblion y bendigedig Iesu, yn rhwym ar bob ystyriaeth sydd yn gwneyd crefydd yn fendith i breswylwyr y ddaear, pan y canfyddwn y fraint oruchel hon, yn cael ei chamarfer, i osod esiampl mwy ardderchog: i gyflawni ein dyledswydd mewn modd mwy cyssegredig, ac, fel gweision yr Arglwydd, y rhai sydd am gael eu cymmeradwyo yn mhob peth, na chuddiwn yr un bai o'n heiddo ein hunain, ac na orchuddiwn ddim anmherffeithderau mewn ereill; ac na thramgwyddwn, rhag i ni ddwyn gwarth ar achos mawr ein Tad santaidd.

Y mae yn foddhaol gan Dduw i weled dynion yn ymarfer y bendithion a roddodd efe iddynt, ac nid eu camarfer. O herwydd hyn, os y Saint a arosant yn y ffydd trwy ba un y galwyd hwynt, y ddaear a rydd ei chynnydd, a bendithion y nef a'u canlynant, a'r Arglwydd a rydd iddynt iaith bur, a gogoniant Duw a fydd etto yn mysg y rhai cyfiawn ar y ddaear. Pob peth sydd er mwyn dynion, ac nid dynion er mwyn pob peth. Anwyl frodyr, cyn y gallwn ddysgu y byd pa fodd i weithredu yn iawn, y mae yn rhaid i ni fod yn abl i wneyd hyny ein hunain: gan hyny, yn ngbariad yr Hwn sydd yn gariad i gyd, iau yr hwn sydd esmwyth, a'i faich yn ysgafn, yr hwn a lefarai fel na lefarodd dyn erioed, bydded i ni gynyg ychydig o ddrychfeddyliau ar y pwnc yma, i ystyriaeth y rhai a feddyliant am garu eu cymydog fel hwy eu hunain, er mwyn cyfiawnder a bywyd tragywyddol.

1. Nac ysgrifena byth lythyr at ffrynd na gelyn, oddieithr fod genyt fusnes na ddichon gael ei gwneyd cystal mewn rhyw ffordd arall; neu, oddieithr fod genyt newyddion i'w trosglwyddo iddo, sydd yn werth amser ac arian. Yn y modd hyn yr ychwanegi ymddiried, ac yr arbedi lythyr-doll.

2. Nac ysgrifena byth ddim at ffrynd na gelyn, yr hyn y bydd arnoch ofn ei ddarllen i ffrynd neu elyn; canys, y mae llythyrau o bellder ffordd, yn enwedig mil neu ddwy o filltiroedd, yn cael eu dysgwyl gyda phryder mawr; ac hefyd, am nad oes neb yn farnwr ar ddynion a phethau, yr wyt yn agored i gamddarlunio dy hun, dy wlad, dy gyfeillion, a'th elynion, a rhoddi

yn ngenau yr onest, yn gystal a'r anonest, gelwydd; yr hyn ni all gwirionedd, yn ei ffordd araf ond rhinweddol, ei wrthwynebu, nes y bydd dy ben o dan dywarchen dawel y dyffryn.

3. Nac ysgrifena ddim ond gwirionedd, canys y mae gwirionedd yn nefol, ac fel yr haul bob amser yn ddysclaer ac yn profi ei hun heb resymeg, heb reswm, heb dystion, ac nid yw byth yn methu. Gwirionedd sydd oddi wrth yr Arglwydd, ac yn rhwym o orchfygu.

4. Na cherydda ffrynd na gelyn byth am feiau mewn llythyr, oddi eithr trwy ddadguddiad; canys yn y lle cyntaf, dy amcanion dirgel, byddent mor dda ag y byddont, ydynt yn agored i gael eu gwneyd yn gyhoeddus, oblegid y mae pob llythyr yn agored i gael ei agor, a'th farn ar un ochr yn unig, a ddichon gael ei gwasgaru i'r pedwar gwynt; a'r hwn i ba un yr amcanaist dda, a dderbynia ddrwg, a thithau heb fod yn well. A thrachefn, nis gallwn braidd gael iaith ysgrifenedig neu lafaredig ar y ddaear, yn yr amser hyn, a all gyfleu gwir ystyr meddwl y galon i ddeall un arall; ac yr wyt yn agored i gael dy gamddeall, ac i achosi teimladau anghysurus; a thithau yn unig, i arfer cyffelybiaeth, yn gwaedu hen friw, trwy chwilio am gig marw, pan nad oedd eisieu ond yn unig ychydig olew o law y Samariad da, yn bersonol i'w iachau ef. Nid yw yn wahaniaeth pa mor bur y gall dy fwriadau fod; nid yw yn wahaniaeth pa mor uchel yw dy sefyllfa, nis gelli gyffwrdd â chalon dyn, yn absennol fel yn bresennol. Mae'n wir, nid wyt yn taflu dy emau o flaen y moch; ond, yr wyt yn taflu dy aur o flaen dyn, ac y mae yn dy yspeilio am dy ffolineb. Yn lle cerydd, dyro gynghor da; a phan wyt wyneb yn wyneb cerydda ddyn doeth, ac efe a'th gâr di; neu gwna felly i'th gyfaill, fel os dygwydd iddo ddyfod yn elyn, na all dy waradwyddo: fel hyn y gelli fyw, nid yn unig yn ddifrycheulyd, ond heb dy ddrwg-dybio.

5. Na ysgrifena byth yr hyn a fydd arnat gywilydd i'w argraffu; neu, yr hyn a fydd yn dramgwydd i'r glust mwyaf diwair, na chlwyfo y galon dyneraf. Os ysgrifeni yr hyn a fydd arnat gywilydd ei argraffu, yr wyt yn bleidiol; ac os ysgrifeni yr hyn a dramgwydda rinwedd, nid oes genyt ysbryd yr Arglwydd; ac os ysgrifeni yr hyn a glwyfa y galon lesg, nid wyt yn porthi wyn yr Arglwydd, a thrwy hyn y gelli wybod nad ydwyt yn ymddwyn tuag at ereill, fel yr erfynit i ereill ymddwyn tuag atat ti. Yr

unig reol y dymunem roddi i reoleiddio llythyr-ysgrifenu yw hyn: Ysgrifena yr hyn a foddloni ei gyhoeddi, yn y byd hwn, a'r byd sydd i ddyfod. Ac och Dduw, na fyddai nid yn unig dysgyblion Crist, ond yr holl fyd, yn foddlawn i ddilyn y rheol hon: yna cedwid y gorchymynion, ac ni ysgrifenai neb yn erbyn yr Arglwydd ei Dduw. Ni ysgrifenai neb air yn erbyn ei dad neu ei fam. Ni ysgrifenai neb air yn erbyn ei gymydog. Ni ysgrifenai neb air yn erbyn creaduriaid Duw. Ni ysgrifenai neb air yn erbyn dim ond pechod: ac yna byddai y byd yn werth i fyw ynddo, canys ni fyddai neb i dramgwyddo.

*Cyf.* D. AB NATHAN.

---

## NODIADAU W. GIBSON AR LYFR MORMON.

[Parhad o dud. 283.]

YN awr, a ydyw yr holl bethau blaenorol yn cyfeirio at America? Yn gyntaf, gadewch i ni weled; gellir ei galw gyda'r priodoldeb mwyaf yn wlad bell o Ganaan. Yn ail, mae yn orllewinol o Ganaan. Yn drydydd, y mae y tu hwnt i afonydd Ethiopia; ac yn bedwarydd, mae ar ddull adenydd; a gallaf ychwanegu, gyda'r priodoldeb mwyaf, mai yno y canfyddir terfyn bryniau tragywyddoldeb, a chymmeryd Canaan yn bwynt cychwynol. Yn awr, os nid dyma y tir lle y canfyddir had Ephraim yn y dyddiau diweddaf, bydded i un o'n doethion ddangos i ni, os gallant, dir arall a etyb yn well i'r desgrifiad a rydd y prophwydi a ddyfynasom; ac os na allwch, edrychwch yno i weled disgynyddion Joseph, neu gwadwch eich Beibl.

Yn nesaf, cyfeiriaf at rai o'r prophwydoliaethau a brofant fod Ephraim i dderbyn dadguddiadau iddo ei hun ar wahan oddiwrth y Beibl neu gof-lyfr Judah. Hosea yn viii, 9, a ddywed, "Canys hwy a aethant i Assyria yn asyn gwyllt unig iddo ei hun: Ephraim a gyflogodd gariadau." Wrth ddarllen yr adnod hon, mae'n amlwg i bob meddwl ystyriol y dylasai y matèr cyntaf ynddi fod yn ddiweddaf yn y ddeunawfed adnod, canys ni allai fod yn wir i Ephraim fod wrtho ei hun, os mai at y rhai a aethant i Assyria y cyfeiriai, oblegid mai yno yr aeth y deg llwyth. Ond os aeth rhan o lwyth Ephraim i'r tir sydd yn cysgodi ag adenydd, yr hwn sydd y tu hwnt i afonydd Ethiopia, hyd at derfyn bryniau tragywyddoldeb, yna gallent fod wrthynt

eu hunain, mae'n wir. Pan oedd Ephraim i fod wrtho ei hun, a adawai Duw ef felly heb ddadguddiad, a rhoddi dadguddiadau yn barhaus i Judah? Na wnai. Darllener y ddeuddegfed adnod o'r un bennod. Yno Duw a ddywed, "Myfi a ysgrifenaf iddo ef (Ephraim) bethau mawrion fy nghyfraith, ac fel peth dyeithr y cyfrifwyd." Ezekiel, pan yn llefaru am y ddau gof lyfr hyn, sef eiddo Judah (y Beibl), yr hwn a ddaeth i ni trwyddynt hwy, a'r un a roddodd Duw i Ephraim (sef Llyfr Mormon), pan oedd efe ar wasgar oddiwrth ei frodyr fel asyn gwyllt wrth ei hun, a ddywed, hwy a ddeuant yn un yn llaw yr Arglwydd, i roddi gwybodaeth i Israel o'u tadau, ac i gynnorthwyo yn ngwaith mawr yr ymgasgliad.—Gwel Ezekiel xxxii, o'r 15fed adn.

Esaiah hefyd, gan lefaru am y dygwyddiad hwn, a ddywed wrthym mewn perthynas i ddyfodiad allan un o'r cof-lyfrau hyn yn yr 28ain bennod o'i brophwydoliaeth. Pan yn llefaru am Ephraim a Judah yn nechreu y bennod, efe a ragfynega am felldith a fyddai ar etifeddiaeth Ephraim, am eu troseddiadau; ac yn adn. 14, gwna yr un peth am Jerusalem, neu y ddinas lle trigai Dafydd ynddi, fel ei gelwir yn yr adnod gyntaf o'r 29ain bennod. Yn yr ail adnod, gwelir dau beth yn cael siarad am danynt; yn gyntaf Ariel, yr Arglwydd a ddywedai y cyfyngai arni, ac y byddai rhywle arall y byddai ef iddo *fel* Ariel.

Yn awr, byddai yn anghytunol â synwyr yr ymadrodd i ddywedyd y byddai Ariel *fel* Ariel, neu Jerusalem *fel* Jerusalem; gan hyny, rhaid i ni benderfynu ei fod yn cyfeirio at ddyffryn Ephraim, yr hwn y siaradir am dano yn y bedwerydd adnod o'r 28ain bennod, fel i gael ei felldithio o herwydd pechod Ephraim, fel y dywedwyd yn y 14eg adnod y melldithid Jerusalem o achos pechod Judah. Os dywedir am ddyffryn neu etifeddiaeth Ephraim, y byddai i'r Arglwydd ei gwneyd fel Jerusalem, yna gallwn ei ddeall; os amgen, nid oes ystyr i'r ail adnod yn y 29ain bennod. Cymmerwn yr olwg yma ar yr ymadrodd, y drydydd a'r bedwerydd, y bummed a'r chwechfed adnod a gyfeiriant yn bendant at etifeddiaeth Ephraim. Darllener Llyfr Mormon, lle y rhydd hanes am ddinystr y bobl hyn, a gwelir pa mor lythyrenol y cyflawnwyd pob gair. Gellir dywedyd am danynt hwy felly, ond ni ellir am Judah, i'r holl bethau hyn, sef taranau, daeargrynfau, a thwrf mawr, a difaol dân fflamllyd, a thymhestl a ddaeth arnynt hwy yn *fuan* a *diattreg*, a thrwy y pethau hyn

torf o'u rhai ofnadwy a aethant ymaith fel peiswyn mewn moment.

Dyma yr hanes a roddir yn nhud. 450 o Lyfr Mormon, yr ail argraffiad Ewropaidd,—"A bu yn y drydydd a'r bedwerydd flwyddyn, yn y mis cyntaf, ac ar y pedwerydd dydd o'r mis, i dymhestl fawr gyfodi, y cyfryw na wybuwyd am ei bath o'r blaen, yn yr holl dir. Ac ofnadwy a dirfawr oedd y dymhestl; yr oedd y taranau mor ofnadwy fel y bu i'r holl ddaear ymysgwyd, megys pe buasai ar ymagor odditanodd; yr oedd mellt dirfawr a llymion; ni wybuwyd am eu cyffelyb o'r blaen yn yr holl dir. A dinas Zarahemla a gymmerodd dân, a dinas Moroni a soddwyd ddyfnderoedd y môr, a'i thrigolion a foddasant, a'r ddaear a gariwyd, a'r ddinas Moronihah, fel yr aeth safle y ddinas yn fynydd mawr; ac yr oedd dinystr ofnadwy yn y tir deheuol. Ond yr oedd y dinystr yn fwy ofnadwy yn y gogledd-barth. Wele, yr oedd holl wyneb y ddaear wedi ei gyfnewid, o herwydd y dymhestl, y corwyntoedd, a'r taranau, a'r mellt, a dirfawr ysgwydwad yr holl ddaear: y prif ffyrdd a ddrylliwyd, a'r ffyrdd gwastad a anrheithiwyd; a llawer o fanau llyfnion a wnaed yn eirwon, a llawer o ddinasoedd mawrion a nodedig a soddasant, a llawer a losgwyd, ac ysgydwyd llawer nes i'r adeiladau syrthio i'r llawr, a'u trigolion a laddwyd; a'r manau hyny a adawyd yn anghyfannedd. Ond yr oedd rhai dinasoedd wedi eu gadael yn weddill, ond yr oeddynt wedi eu niweidio yn ddirfawr, a llawer ynddynt wedi eu lladd, a rhai a gymmerwyd ymaith gan gorwynt, ac ni wyddis i ba le yr aethant, yn unig gwyddis eu cymmeryd ymaith. A gwyneb yr yr holl ddaear a aeth yn annrhefnus gan y taranau, a'r mellt, a'r daeargrynfau. Ac wele, y creigiau a rwygwyd yn ddarnau, yn gymmaint fel y canfyddid eu chwilfriwion dros wyneb yr holl ddaear; ac yr oeddynt yn wrymiau ac yn holltau trwy yr holl dir."

Oni chyflawnwyd geiriau Esaiah yn llythyrenol ar etifeddiaeth Ephraim. Yn y seithfed adnod o'r 29ain bennod, Esaiah a ddechreua lefaru am adferiad Israel. Ac Esaiah, fel Ezekiel, a lefara am ryw gof-lyfr neu lyfr, er cynnorthwyo cwblhau y y gwaith. Gwel adnod 18fed. Ezekiel a lefara am ddau gof-lyfr, un o eiddo Ephraim, a'r llall o eiddo Judah. Pa lyfr a olygir yma? y Beibl neu Lyfr Mormon? Darllener yr hanes am ei ddyfodiad ef allan. Yn yr unfed adnod ar ddeg

canfyddwn pan ddygir y llyfr hwn allan, y bydd ei eiriau fel geiriau llyfr seliedig, yr hwn a gyflwynid i un dysgedig, gan ddywedyd wrtho, Darllen hwn, yr wyf yn ymbil arnat; ac efe (y dysgedig) a ddywed, ni allaf, oblegid ei fod yn seliedig; a'r llyfr a roddwyd i un annysgedig, gan ddywedyd wrtho, Darllen hwn, yr wyf yn ymbil arnat: ac efe a ddywed, Ni allaf, am nad wyf yn ddysgedig." Ai am y Beibl y llefarai yma? Os felly, beth a feddyliwn am ein dysgedigion, y rhai a ddygir i fyny yn y colegau i'r dyben i'w ddeall? Wel, yr oedd y llyfr hwn i fod yn llyfr seliedig i'r dysgedig ac i'r annysgedig, pan y daeth allan; ac er bod felly, rhaid ei fod yn ysgrifenedig mewn iaith anadnabyddus pan y deuai allan. Yn awr, nid fel hyn y mae gydâ'r Beibl, ond gyda Llyfr Mormon felly y mae; gan hyny, Duw a wnaeth ei ryfeddol a'i ddyeithr waith, gan achosi i ddoethineb y rhai doethion gael ei ddyfetha, ac i ddealltwriaeth y rhai deallus ymguddio, trwy wneuthur yn hysbys, trwy offerynoliaeth yr annysgedig gynnwysiad y llyfr yr hwn a ddysga ddisgynyddion Ephraim mewn perthynas i'w tadau, a thrwy ddangos yr Efengyl yn ei phurdeb, gan wneuthur i lawenydd yr addfwyn gynnyddu yn yr Arglwydd, a'r tlawd yn mhlith dynion i lawenychu yn Sanct Israel, a thrwy ufydd-dod i'r unrhyw gwneir gallu Duw yn amlwg, ac a edfryd fendithion cyntefig yr Efengyl fel y byddai i'r byddar glywed geiriau y llyfr, ac i lygaid y dall weled allan o dywyllwch.

(*I'w barhau.*)

---

## LLYTHYR ODDIWRTH YR APOSTOL J. TAYLOR, AT Y LLYWYDD W. PHILLIPS.

Rosenstrasse No. 27, Hamburg, Tach. 24, 1851.

FRAWD PHILLIPS,—Anwyl Syr,—Yr wyf yn defnyddio yr hamdden bresennol i'ch anerch ag ychydig eiriau; canys, tra y mae bob amser yn bleser genyf fi i ysgrifenu at fy nghyfeillion, efallai nad yw yn llai boddhaol genych chwithau i glywed oddi wrthyf fi. Gyda phleser yn barhaus yr wyf yn adgofio fy ymweliadau â Chymru; y mae y fath deimlad gwresog ac onest, a'r fath garedigrwydd a pharch yn cael eu hamlygu, ag sydd yn gwneyd i mi deimlo gartref yn eich mysg.

Yr oedd yn dda genyf i glywed trwy y "Star" eich bod wedi

myned mor bell yn mlaen gyda Llyfr Mormon, a bod yr Athrawiaeth a Chyfammodau wedi ei orphen; ac yr wyf yn sicr y bydd yn dda genych chwithau pan orphenir y fath dasg caled, nid yn unig o herwydd y bydd yn rhyddhau y brawd Davis oddiwrth gyfrifoldeb mor ddirfawr â'r hwn sydd yn gorphwys arno yn bresennol, eithr hefyd o herwydd y bydd yn foddion i wneuthur yn hysbys yn mysg yr hen Brydeiniaid yr efengyl, megys ei dysgir gan had Joseph, yn gystal â chysuro calonau y Saint, ac adeiladu ffyddlon weision Duw. Mae gwirionedd yn ddymunol bob amser; ond nid yw byth mor effeithiol ag ydyw yn iaith gynhenid rhyw genedl.

Efallai na fydd yn annyddorawl genych i glywed fod pethau yn myned yn mlaen yn dda yn Ffrainc. Bedyddiodd y brawd Bolton driarddeg yn Havre yn ddiweddar, rheoleiddiodd eglwys, ac a ordeiniodd offeiriad. Mae yr Hen. Hurt, yr hwn oedd gynt yn Birmingham, wedi myned yno i bregethu: ac hefyd y mae cenadon ereill yn Mharis. Bwriadwn gynnal cymmanfa yn Mharis ar y 20fed o Ragfyr; a buasai yn dda iawn genyf pe gallech chwi ddyfod i'n cyfarfod ar yr achlysur. Mae Llyfr Mormon yn myned yn mlaen yn gysson yn y Ffrengaeg, a gobeithiwn ei gael yn barod yn fuan i'w werthu.

Yr wyf yn cael fy hun yma etto yn mhlith cenedl arall, yn llefaru iaith wahanol; ac ar ol ymladd a gorchfygu y Ffrengaeg, y mae yr un anhawsderau o'm blaen yma hefyd. Yr wyf wedi newydd gyhoeddi y rhifyn cyntaf o gyhoeddiad misol, yn yr Ellmynaeg, sef "Baniar Seion." Yr wyf yn danfon dau i chwi, a dau i'r brawd Davis. Dywedwch wrth y brawd Davis fy mod wedi crybwyll am "Udgorn Seion" ynddo, canys nid wyf yn meddwl y medr ef ei ddarllen.* Yr wyf hefyd wedi dechreu

* Er na phroffeswn y medrwn ddarllen cyhoeddiad y brawd Taylor, etto cyfieithiasom ychydig o hono ar antur, gan obeithio pan ddaw efe yma y gall ei gyfieithu yn ol o'r Gymraeg. Mae y cyfieithad fel y canlyn:—"Y mae genym wahanol gyhoeddiadau, y rhai a gyhoeddir yn ngwahanol barthau y byd. Yn nhiriogaeth Utah, yn California, y mae genym newyddiadur a elwir 'Deseret News,' ac un arall yn Kanesville, yn Nhalaeth Iowa, sef y 'Frontier Guardian;' ac y mae cyhoeddiad yn Liverpool, a elwir y 'Millennial Star,' ac un arall yn Nghymru, sef '*Udgorn Seion*'; un arall yn Mharis, sef 'Seren Deseret,' ac un arall yn Copenhagen, sef 'Seren Scandinavia.' Mae yr holl rai hyn yn cael eu dwyn yn mlaen mewn dull medrus a thalentog."—Gol.

cyhoeddi Llyfr Mormon yn yr Ellmynaeg, ac y mae i'w orphen yn mhen tri mis, ac wedi ei ystrydebu hefyd. Yr wyf yn mynu fy holl bapyrau a'm llyfrau wedi eu hystrydebu yn Ffrainc, yn gystal ag yma, fel y gallo unrhyw nifer o honynt gael eu hargraffu. Gwn ei fod yn gostfawr; eithr y mae yn arbed llawer iawn o gost a thrafferth yn ol llaw. Rhwng ysgrifenu, diwygio, darllen, dysgu, ac addysgu ereill, y mae genyf ddigon i'w wneyd. Yn gyffredin y mae genyf ddigon o waith; ac os na chaf ef, yr wyf yn ei wneuthur.

Bydd yn dda genych i glywed fy mod wedi gwneyd yr holl drefniadau anghenrheidiol ynghylch busnes y siwgr, fel ag y byddwn yn barod, os cawn y betys, i wneuthur 300 o dunelli mewn un flwyddyn, ac yn gystal siwgr ag y gall fod.

Bydd raid i mi yn fuan newid fy ngwaith, a bod yn mysg peiriannau gwaith gwlan a *worsted*, er parotoi gyferbyn â symudiad i'r dyffryn; pa fodd bynag, gan fod genym gyrff ac ysbrydoedd, a'n teyrnas yn dymmorol ac ysbrydol, meddyliwyf fod un mor anghenrheidiol â'r llall. Ein gwaith ni yw dysgu pa fodd i fyw yn iawn yn y byd hwn, a pharotoi erbyn y byd sydd yn dyfod. Yr wyf yn llawenhau yn fynych nad wyf mewn cyssylltiad â neb o'r cyfundraethau cul sydd gan ddynion, ag sydd yn rhwymo a llyffeitheirio y teimladau, cyfyngu y golygiadau, dirymu y galluoedd, ac amddifadu dyn o'r annibynrwydd ardderchog hwnw, y dyngarwch hwnw, y meddylddrychau dyrchafedig hyny, a'r gobeithion rhesymol hyny, y rhai ni all dim ond yr efengyl eu cyfranu. Mae ein crefydd ni yn mwyhau y meddwl, yn eangu y galluoedd, yn meithrin heddwch a dedwyddwch, yn dyrchafu y gobeithion; y mae yn mawrhau ac yn cyfodi dyn i'w wir sefyllfa; teimla yn y byd hwn ei fod yn fab Duw, fod y ddaear a'i holl fendithion wedi eu creu er ei fwyn. Agora olygfeydd tragywyddoldeb i'w enaid, ac yntau a fyfyria ei dynghed ddyfodol a gogoneddus. Y nefoedd a'r ddaear, ei eiddo ef ydynt; er ei fwyn y llewyrcha yr haul, y rhydd y ddaear ei ffrwyth, y deilia y coed, y blodeua y blodau, ac y pyncia yr adar. Er ei fwyn ef yr hilia y ddaear ei hyfrydwch mwyaf ysplenydd, ac y tywallta ei harogledd mwyaf dymunol. Iddo ef yr adeiladwyd y ddinas santaidd, y Jerusalem Newydd, ac iddo ef y purir y ddaear. Iddo ef y parotowyd angylion yn gymdeithion; a daear a nefoedd newydd yn fuan a ddysgwyliant ei dderbyn. "Pob peth

sydd eiddom ni, a ninnau yn eiddo Crist, a Christ yn eiddo Duw." Am hyny, bydded ein hymdrech i ddysgu dynion i werthfawrogi y bendithion a ddwg yr efengyl o fewn ein cyrhaedd; a thra y byddo terfysgoedd yn aflonyddu y byd—tra fyddo tân, a chleddyf, a haint, a gwaed, yn dinystrio y cenedloedd—tra fyddo daeargrynfäau yn ymysgwyd, gorseddau yn ymdreiglo i'r llawr, amherodraethau yn cael eu dinystrio, a digofaint Duw yn cael ei deimlo yn mysg y cenedloedd—ein hymdrech fyddo i sefyll megys cyhoeddwyr iachawdwriaeth, anfonedigion y nef, a chenadon gwirionedd; i dywallt olew o gwin i archollion byd clwyfedig; a thra yn rhodio yn mysg pläau, cleddyfau, ac angeu, i ddangos i fyd llygredig a cholledig, obeithion yr efengyl, gwaredigaeth Seion, a sefydliad teyrnas Dduw.

Arweiniwyd fi at rai o'r adfyfyrion uchod, oblegid y sefyllfa y cefais y cenedloedd Ewropaidd hyn ynddi. Ymddengys fod du gymylau rhyfel ar ddisgyn ar bob llaw; anymddiried ac ansicrrwydd a ffynant yn mhob man; a'r hyn nad oedd gynt ond prophwydoliaeth yn ein mysg, sydd yn awr yn dechreu cael ei ddynoethi. Y mae sefyllfa Ffrainc, Germani, Awstria, Itali, Denmarc, Sweden, yn darogan rhywbeth ofnadwy i ddyfod. Yr holl bobloedd a edrychant am gyfnewidiad, am derfysg, gwaed, &c. —ïe, dysgwylia pawb rywbeth dychrynllyd yn 1852; a thra yr ymddangosant i ofni yr ystorom sydd yn dyfod, ymruthra pawb yn waedwyllt i'r frwydr. Amherawdwyr, breninoedd, tywysogion, a phobl, a'i hofnant i gyd, ac a'i dysgwyliant i gyd. Ymddengys fel pe byddai gwae wedi ei ysgrifenu ar bob peth. Yr wyf yn tosturio wrth y bobl, ac yn galaru o herwydd eu sefyllfa, canys ofnwyf y caiff miloedd o drueiniaid eu rhoi yn isel yn y llwch. Hyn yw y peth hwnw a lefarwyd gan ein Harglwydd; "A dynion a lewygant gan ofn, ac a ddysgwyliant am y pethau sydd yn dyfod ar y ddaear." Maent yn bethau a brophwydwyd am danynt gan Joseph Smith. Maent yn bethau a welais i fy hunan flynyddau yn ol. Am hyny, yr wyf fi yn teimlo yn fwy llym, fel y mae'r dydd yn agoshau. Eithr mae y cenedloedd yn feddw ac yn ynfyd. Dywed Isaiah, "Yna bydd yr un ffunud i'r bobl ac i'r offeiriad, i'r prynwr ac i'r gwerthydd; canys troseddasant y cyfreithiau, newidiasant y deddfau, diddymasant y cyfammod tragywyddol; am hyny preswylwyr y ddaear a losgir, ac ychydig ddynion a adewir." Ein dadguddiadau a'n hysbysant, mai ar ol

ein tystiolaeth ni, y daw tystiolaeth daeargryfnäau, rhyfeloedd, gwaed, &c. Pa fodd bynag, ein gwaith ni yw gwneuthur ein dyledswydd, a gadael i'r Arglwydd drefnu ei achosion ei hun.

Yr wyf yn dysgwyl y caf y pleser o ymweled â chwi cyn yr ymadawaf o Loegr. Ar ol fy nghymmanfa yn Mharis, yr wyf yn meddwl ymweled ag Ynys Jersey, a chynnal cymmanfa ar y 26ain o Ragfyr. Efallai y byddaf gyda chwi rywbryd yn nechreu Ionawr; eithr gan y caf glywed oddiwrthych etto, nid oes achos enwi yr amser yn bresennol.

Pa beth yw sefyllfa y bugail a soniasoch wrthyf am dano? A yw efe mewn sefyllfa ag y gall fyned? os yw, pa fodd mai ei sefyllfa gyda golwg ar ei deulu? Yr wyf yn llefaru am y pethau hyn, o herwydd fod yr amser yn nesâu. Byddwch gystal â rhoddi gwybod i mi, a pherwch iddo yntau ysgrifenu at y brawd Pack, No. 4, Bond Street, St. Heliers, Jersey, gan mai y brawd Pack fydd yn cymmeryd gofal ynghylch y defaid.

Os bydd i chwi weled rhywbeth yn yr ysgrif drwsgl uchod yn werth ei gyhoeddi, y mae at eich gwasanaeth i'r dyben a weloch yn oreu.

Rhoddwch fy nghariad i'r brawd a'r chwaer Davis, y chwaer Phillips a chwithau, ynghyd â'r holl Saint.

Yr eiddoch yn y cyfammod tragywyddol,

JOHN TAYLOR.

---

## ANERCHIAD AT Y SAINT YN MHRYDAIN FAWR.

[Parhad o dud. 379.]

WRTH y Saint mi a ewyllysiwn ychwanegu: Mae eich argoelion yn mhob ystyr y rhai mwyaf gobeithiol a ellid ddymuno. Mae yr Arglwydd, yr hwn nid yw yn methu yn ei addewidion, wedi cymmeryd arno i'ch gwared, yn ysbrydol a thymmorol, ac yr ydych chwi eich hunain yn dystion o gyflawniad y blaenaf. Eich cadwynau o goel-grefydd a chrefydd-dwyll a ddrylliwyd; y mae mantell dywell a gau traddodiad wedi ei rhwygo; dangoswyd i chwi Fam Puteiniaid, a'i merched, yn eu holl nodweddiadol anwybodaeth, ffolineb, ac aflendid; ac yr ydych wedi gwrandaw ar, ac ufyddhau y llais, "Deuwch allan o honi hi, fy mhobl i, fel na fyddoch yn gyfranog o'i phechodau, ac na dderbynioch o'i phläau." Eich calonau, eich meddyliau, a'ch teimladau, nid ydynt

mwyach yn gyssylltiedig â chynlluniau Babilonaidd, y rhai a gadwynant feddwl a rheswm, gan ei wneyd yn gabldraeth i ddyn feiddio llefaru am fawredd ei enedigaeth, a gwir fodoliaeth ei Dad yn y nef. Yr ydych chwi yn teimlo eich bod wedi eich gwared—eich adferyd at reswm ac atoch eich hunain—o dan lywodraeth un gyfraith, yr hon a'ch gwnaeth yn rhyddion, sef cyfraith y gogoneddus Wirionedd, gair ac ewyllys Duw, trwy yr hwn y cenedlwyd ni oll yn blant i un Tad mawr; ïe, yn gymmaint ag y gwnaed ni yn rhyddion, nyni a ddyrchafwn ein llef ac a folianwn ein Duw gyda diolchgarwch, am ei fod wedi gwrandaw cri ei bobl—wedi gweled eu caethiwed, ac wedi anfon eu angylion gyda chyflawnder yr Efengyl i wared, ac achub ei etholedigion, a'u gwneuthur yn freninoedd ac offeiriaid yn y nef ac ar y ddaear, fel trwy hyny y dygai oddiamgylch mewn amser cyfaddas ei ewyllys dda a'i fwriadau yngbylch holl deuluoedd dynolryw. Gan fod yr Arglwydd wedi eich gwneyd yn ysbrydol ryddion, yn hyn hefyd yr ydych yn cael sicrwydd am waredigaeth dymmorol. Pa mor fawr bynag yw eich tlodi, pa mor aruthrol bynag yw eich anhawsderau, nid yw nemawr o wahaniaeth: mae y gair wedi myned allan o'ch plaid, ac nis gall braich wrthwynebol attal ei rediad;—rhaid i Seion gael ei sefydlu, ei thiroedd eu poblogi, ei dinasoedd eu hadeiladu, ei themlau eu cyfodi, ei meibion i ddyfod yn nerthol a galluog; fel y cyfodo hi yn deg fel y lleuad, yn ddysclaer fel yr haul, ac yn ofnadwy fel llu banerog; a'r holl genedloedd a ofnant ac a ddychrynant, ac a safant o hirbell yn nydd ei harddercliogrwydd.

Eithr y mae arnoch eisieu amynedd, fel y galloch, ar ol gwneuthur ewyllys Duw, dderbyn yr addewid; rhybydd na ddylai neb ei anghofio. Gall llawer o honoch gael treialon enbyd, fel y perffeithier eich ffydd, y cynnydder eich ymddiried, a'ch gwybodaeth am alluoedd y nef yn cael ei hychwanegu: a hyn cyn y cymmero eich gwaredigaeth le. Os bydd i gwmwl ystorom ysgubo dros awyrgylch eich gyrfa yn y tir hwn, fel yn yr America; os bydd i gwpan chwerw dyoddefgarwch gael ei gynyg, ac i chwithau gael eich gorfodi i'w yfed; os gollyngir Satan yn rhydd i fyned i'ch plith, gyda'i holl alluoedd twyll-ddeniadol a chyfrwys; os cyfodir braich didosturi erlidigaeth yn eich erbyn;—yna, yn yr awr *hono*, dyrchefwch eich penau a gorfoleddwch eich bod yn cael eich ystyried yn deilwng i ddyoddef felly gydag Iesu Grist, a phro-

phwydi santaidd; a gwybyddwch fod tymmor eich gwaredigaeth wedi agoshau.

Anwyl frodyr a chwiorydd, teimlaf i'ch annog mewn dull teimladwy. Ymgysurwch—na fyddwch ddigalon; canys yn ddiau mae y dydd yn dyfod ar frys pan y sychir eich dagrau, pan y dyddanir eich calonau, ac y cewch fwyta o ffrwyth eich llafur, eistedd o dan eich ffigys-bren eich hun, a than gysgod eich gwinwydden, heb eich aflonyddu, ac heb adnabod na theimlo mwyach law gormes. Chwi a etifeddwch gyfoeth a brasder y tir, aur ac arian, maesydd a gwinllanoedd, da a defaid, tai a phalasau; eich meibion a dyfant megys planigion enwog, a'ch merched megys conglfeini caboledig y deml, fel yr ymffrostiwch yn holl ogoniant y Cenedloedd. Ac i chwi yn ddiau y cyflawnir yr ysgrythyr, "Ceisiwch yn gyntaf deyrnas nefoedd a'i chyfiawnder, a'r holl bethau hyn a ychwanegir."

Byddwch yn onest a rhinweddol, ac anrhydeddus, byddwch addfwyn ac isel, yn ddewr a gwrol; meithrinwch symlrwydd, a byddwch debyg i'r Arglwydd: daliwch wrth y gwirionedd trwy dân neu gleddyf, arteithiau neu farwolaeth: ymddygwch yn anrhydeddus tuag at bob dyn, canys ein brodyr ydynt; rhan o deulu Duw, eithr yn anwybodus a dall, wedi anghofio eu Duw a'u cyfammodau ag ef yn nhragywyddoldeb.

Yr wyf yn teimlo i roddi fy nghymmeradwyaeth mwyaf i Lywyddiaeth F. D. Richards, ar yr Ynysoedd Prydeinig; mae ei ddull doeth a defnyddiol gyda'r wasg, yn teilyngu y ganmoliaeth uchelaf. Mae yr amrywiol gyhoeddiadau a ddygodd allan, ynghyd â'r argraffiad newydd a diwygiedig o'r Hymnau, a ddefnyddir gan y Saint, mewn ychwanegiad at bob gwaith arall o'i eiddo, yn dwyn tystiolaeth gywir o'i sel ddiflino a'i ysbryd anturiaethol. Mae yr ymdrech fawr a wnaeth gyda golwg ar ein cenadiaethau, wedi sicrhau iddo y diolchgarwch gwresocaf oddiwrthym ni, ar y rhai y gosodir beichiau trymion a chyfrifoldeb y cenadiaethau hyny, eithr oddi wrth filoedd a degau o filoedd, gwaredigaeth y y rhai a gymmera le yn awr yn y maesydd helaeth a berthyna i'n llafur tramor. Yn nhrefniad y cynnadleddau, y mae doethineb mawr wedi ei ddangos wrth ddewis dynion da a ffyddlawn i lywyddu arnynt; dynion, y rhai a wnant yn dda, ynghyd â'r Saint yn gyffredinol, i dderbyn ei gyfarwyddiadau, fel trwy hyny yr ysgafnhaont ac y cynnorthwyont ef yn ei bryder a'i gyfrifoldeb,

mor bell ag a fo yn bosibl. Mae fy hir adnabyddiaeth o hono yn rhoddi i mi ymddiried mawr yn ei ddoethineb, yn rhagoroldeb ei galon a'i feddwl, ei lwyr-ymroddiad i waith a gwasanaeth yr Arglwydd, a'i ffyddlondeb yn ei sefyllfa ddyrchafedig. Mi a wn hefyd fod ei gyngborwyr yn ddynion doeth, ac yn wyr Duw, ac fel y cyfryw yr wyf yn eu cymmeradwyo i sylw ac ymddiried y brodyr.

Mewn perthynas i lwyddiant y cenadiaethau hyny a gymmerais i arnaf, yr argoelion am yr amser dyfodol, a'r maesydd llafur a benodwyd i'r gwahanol henuriaid, efallai y byddai yn ddymunol gan y Saint i glywed y pethau canlynol, fel y byddo i'w ffydd a'u gweddiau ar eu rhan, gael eu cadw yn fywiog yn barhaus. Tybir fod yr Henuriad Willis, yr hwn a benodais i gymmeryd gofal o'r genadiaeth yn Calcutta, ynghylch cyrhaedd pen ei daith: mae yr Henuriad Findlay, diweddar lywydd cynnadledd Hull, yn awr ar ei ffordd ar genadiaeth i Bombay. Mae yr Henuriad Obray, diweddar lywydd Sheernes, yr hwn a benodais i fyned i Malta, yn awr yn barod, ac i hwylio yn fuan tua'r ynys hono; mae yr Henuriad Stenhouse yn llywyddu yn Switzerland; a'r Henuriad Woodard yn Italy. Y mae cyfieithad Llyfr Mormon i'r Italaeg ynghylch ei orphen, rhanau o hono ydynt yn nwylaw yr argraffydd, a chaiff ei wneyd yn barod i'w ddosparthu mewn oddeutu dau fis.

Wedi gosod y cenadiaethau uchod mewn gweithrediad, yr wyf yn troi fy meddyliau tua'r maesydd llafur pellenig wyf yn fwriadu gymmeryd yn fuan—cenadiaeth ag a ofyna fy holl alluoedd, gan y cyrhaedda dros genedloedd, cyfandiroedd, ynysoedd, moroedd, amherodraethau—yn gofyn gwynebu yr Alpiau rhewllyd, gwres y poeth-gylch, peryglon dyfroedd dilwybr, y cholera, ac afiechyd gwahanol hinsoddau, a'r damweiniau ar dir a môr a raid myned trwyddynt. I'm cynnorthwyo yn yr anturiaeth hon teimlwyf yn fawr i alw ar Dduw Israel, ac am weddiau fy mrodyr am gymhorth. I wasanaethu Duw y cyssegrais fy mywyd; mae fy *oll* wedi ei osod ar allor aberth, fel yr anrhydeddwyf ef, y gwnelwyf ei ewyllys yn gymmeradwy, ac y taenwyf egwyddorion bywyd yn mhlith plant dynion. Pan yr edrychaf ar yr amser a aeth heibio, ac olrhain llaw Duw yn wyrthiol yn agor fy ffordd, a'm llwyddo yn mhob peth perthynol i'r cenadiaethau hyn tu hwnt i'm dysgwyliadau mwyaf, teimlwyf yn wrolach arall i ymwthio

yn mlaen yn yr amser dyfodol; yn wir palla iaith osod allan ddiolchgarwch fy nghalon am ei fendithion. Bydded i'r Goruchaf fendithio y brodyr a'r Saint hyny a fuont yn haelionus tuag at waith Duw, mewn cyssylltiad â'r cenadiaethau hyn; a phan mewn blynyddau i ddod, y clywant leisiau hyfryd miloedd, a degau o filoedd yn seinio clodydd i'r Goruchaf am oleuni dadguddiad, yna eu calonau a ymorfoleddant yn yr ymwybodolrwydd dymunol eu bod hwy wedi cymmeryd rhan yn y gwaith o ddwyn y waredigaeth ogoneddus hon oddiamgylch.

Byddaf yn ymadael oddiyma i Switzerland, oddiyno i Italy, i Malta, i Bombay, ac oddiyno i Calcutta, a digon tebyg y cylchdeithiaf y byd, trwy ddychwelyd adref, ar ol gorphen dyledswyddau y cenadiaethau hyn, trwy San Francisco, San Diego, a'n sefydliadau newyddion trwy ddyffrynoedd California.

A oes anghen i mi ddweyd pa mor ddwys y teimlaf ynghylch holl faterion fy nghenadiaethau fy hun; er hyny, nid yw hyn yn fy rhwystro i fod yn bryderus ynghylch llwyddiant a dedwyddwch y cynnadleddau lliosog o Saint ag y daethym yn adnabyddus o honynt er pan wyf yn llafurio yn yr Ynysoedd Prydeinig; ac i'r rhai hyny, a phawb ag ydynt yn rhwymyn yr Ysbryd, mi a fynwn danysgrifio fy hun, yn y teimladau gwresocaf, eu brawd yn y cyfammod tragywyddol.

---

## Y PECHOD MWYAF PAROD.

Y PECHOD mwyaf parod i'm hamgylchynu yw
Y bibell a'r dybaco—hwy'm poenant i yn fyw;
Pan fyddaf fi yn gweithio yn ddyfal ar ryw awr,
Meddyliaf am y bibell a'r 'baco drwg ei sawr;

Ac os na chaf y cyfryw er porthi fy mawr flys,
Yn ofer bydd fy ngweithio, heb allu ennill chwys.
Yn ddigllawn mi edrychaf ar bawb a ddaw i'r tŷ,
Os na fydd ganddynt bibell er rhoddi chwiff i mi.

Ar ol i mi ymborthi ar fwydydd blasus iawn,
Ni fyddaf yn gysurus heb gael pibellaid lawn;
Ac yna dechreu chwiffio nes llanwo'r tŷ o fwg,
A'r teulu oll yn peswch, a gwr y tŷ mewn gwg.

Ond och, pa beth wy'n wneuthur ? ai tori cynghor Duw ?
A roddodd ef ddadguddiad mae atgas, ffiaidd yw ?
Do, do—mi benderfynaf i beidio bod yn gaeth ;
Ffarwel, 'rwy'n roi i'r 'baco, a'i seigiau drewllyd llaith.

*Tre-Sior.* THOMAS HARRIES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CYNGHOR.—Byddwch yn bwyllog wrth ddewis cyfaill, ac yn fwy pwyllog wrth ei newid; byddwch yn serchog tuag at bawb, ond yn gyfeillgar ag ychydig ; na ddiystyrwch neb o herwydd ei dlodi, ac na wenieithwch i neb o herwydd ei gyfoeth.

NA chondemniwch gyfaill yn ddiwrandawiad, nac ychwaith heb hysbysu iddo ei gyhuddwr a'i drosedd.

CYMMANFAOEDD.– Cynnelir Cymmanfa Chwarterol Cynnadledd Sir Fynwy, yn Nhredegar, ar y 4ydd o Ionawr ; Morganwg Ddwyreiniol, yn Merthyr, ar yr 11eg ; Morganwg Orllewinol, yn Abertawy, ar y 18fed ; Sir Gaerfyrddin, yn Llanelli, ar y 25ain ; Sir Aberteifi, ar y 1af o Chwefror ; Penfro Ogleddol, ar yr 8fed ; a Phenfro Ddeheuol, ar y 15fed.

CYNNRYCHIOLIAD CYMRU.—Cynnrychioliad hanner blynyddol Cymru, yn terfynu yn Rhagfyr, 1851, sydd fel y canlyn :—137 o gangenau, 2 o archoffeiriaid, 629 o henuriaid, 300 o offeiriaid, 276 o athrawon, 204 o ddiaconiaid, 291 wedi eu tori allan, 37 wedi marw, 5 wedi ymfudo, 595 wedi eu bedyddio. Y cyfanswm yw 5244.

---

TALIADAU O DACH. 27 HYD RHAG. 11.—Sir Fynwy, £4 ; Morganwg Orllewinol, £4 4s 6c ; Sir Gaernarfon, £1 10s ; Sir Feirionydd, £3 ; Sir Ddinbych, £2 ; Dinas, 15s ; Pontytypridd, £1 4s Llanfabon, 8s 6c ; Dowlais, £1 6s ; Rymni, £4 13s 1½c ; Georgetown, 18s 9c ; Merthyr, £2 4s ; Ynysgou, 2s 9c ; Robert Evans, £1 18s 8½c.—Cyfanswm, £28 5s 4c.

☞ "J. J., Victoria."—Wedi cyssodi eich cân chwi, gorfu i ni ei gadael allan i'w gosod yn y rhifyn nesaf.

☞ Caiff Epistol y Llywydd F. D. Richards at Saint y Cynnadleddau Prydeinig ymddangos yn y nesaf, gan na allwn gael lle iddo yn y rhifyn hwn.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr*

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 26.] RHAGFYR 27, 1851. [PRIS 1g.

## EPISTOL AT Y SAINT A GYFANSODDANT Y CYNNADLEDDAU PRYDEINIG.

ANWYLIAID YN YR ARGLWYDD,—Mae yn awr agos i flwyddyn er pan gyflwynwyd Llywyddiaeth yr Eglwys yn yr Ynysoedd Prydeinig i'm gofal. Wrth ymosod ar gyflawni ei dyledswyddau goruchel a santaidd, adgoffid fi yn ddwys o'm hanallu fy hun, gan bwysfawredd cynnyddol gwaith yr Arglwydd, yr hwn oedd wedi dyfod mor eang a galluog, nes dwyn braidd bob dydd ryw beth newydd o bwys, ag a ofynai ddoethineb, nerth, a rhagddarbodaeth yr Ysbryd Glân i'w gyfarwyddo a'i lywodraethu, fel ag i sicrhau llwyddiant a bendith ar y cyfan.

Yr oedd y dull effeithiol yn ol pa un yr oedd y Cynnadleddau wedi eu rheoleiddio y pryd hwnw, ynghyd â'r drefn ddoeth a sylweddol oedd wedi ei rhoddi i'w holl achosion gan fy rhagflaenydd, yr Henuriad Orson Pratt, wedi gwneyd y ddyledswydd yn yn llawer llai pwysig, a'r gobaith o lwyddiant yn llawer mwy sicr, nag yr ymddangosai fel arall; ond gan nad yw llwyddiant yn yr Offeiriadaeth Santaidd, "trwy nerth, na thrwy allu, eithr trwy fy Ysbryd i, medd yr Arglwydd," i'w enw Ef y byddo pob gogoniant, am y llwyddiant a roddodd i'w Eglwys yn y deyrnas hon.

Yn ystod y deuddeg mis diweddaf y mae ymdrech gyffredinol wedi cael ei gwneuthur gan yn agos yr holl gynnadleddau, i osod o flaen y bobl fynegiad o'n Ffydd Santaidd—athrawiaeth Eglwys Crist. Mae y rhan fwyaf o'u dosparthwyr wedi bod yn cael llyfrau a thraethodau wrth y miloedd, nes y mae, rhwng y cwbl, rai cannoedd o filoedd o gopïau wedi eu gosod mewn cylchrediad

yn mysg y bobl, trwy offerynoldeb cymdeithasau traethodau, ac ymdrechiadau gwirfoddol y Saint yn amrywiol ddinasoedd, trefydd, a phentrefi y deyrnas. Nid oedd yn ddigon, na, nid oedd yn dangos sel briodol, i gynnyg y cyhoeddiadau ar werth yn unig yn eu gwahanol ystorfeydd, ac yn eu capeli a'u neuaddau at addoli, eithr estynwyd hwynt yn garedig i anneddau y bobl, ac mewn trefn olynol, fel ag i gyfranu gwybodaeth gyffredinol o'u golygiadau i'r cyfryw a ewyllysient wneyd i'w hunain y gymmwynas o'u darllen yn rhad. Mae ysbryd cyffredinol o gydymgais wedi ei ddangos yn mhlith y swyddogion a'r aelodau, i hysbysu i'r bobl am y genadwri nefol a draddodwyd gan engyl i ddynion, hyd nes y mae rhai, os na ychwanegant nifer neillduol at yr Eglwys mewn yspaid penodol o amser, yn teimlo yn anfoddlawn o herwydd methu cyflawni y dasg a osodasant arnynt eu hunain. Mae ymdrechiadau cyffredinol yr Eglwys, ynghyd â'r arllwysiadau mynych, ac weithiau helaeth, a ddyry y wasg. o blaid ac yn erbyn y Gwirionedd, wedi bod â'u tueddiad yn fawr i daenu adnabyddiaeth o honom yn mhlith dosparth o bobl, ag oedd hyd yn hyn allan o gyrhaedd y Saint. Yn wir, mae y cariad waith hwn wedi ei gario yn mlaen mor helaeth, fel y gallwn ddywedyd, pe buasai pobl y genedl fawr hon yn hanner mor awyddus i wybod ewyllys a bwriad y Jehofah mawr o berthynas iddynt, ag ydynt i gasglu cyfoeth darfodedig y byd hwn, y buasai pob trigfan yn y Deyrnas Gyfunol, o balas ei Mawrhydi i lawr hyd at annedd ei deiliad iselaf, yn dadseinio gyda diolchgarwch ac haleliwia i Dduw a'r Oen am faddeuant o'u pechodau, dawn a gallu yr Ysbryd Glân, gweinidogaeth angylion, a sefydliad Teyrnas Dduw drachefn ar y ddaear am y waith ddiweddaf.

Nid yw ymdrechiadau yr Eglwys, yn gynnwysedig mewn llafur dewrwych gweinidogaeth weithgar ac effeithiol, na'r byd, wedi bod yn anffrwythlawn; y mae amryw filoedd wedi cyffesu y ffydd, ac ardystio y cyfryw trwy fyned i waered i ddyfroedd bedydd er maddeuant o'u pechodau, yn ystod y flwyddyn bresennol.

Diau mai gorchwyl gogoneddus yw ennill eneidiau i wybodaeth o Dduw, ac y mae'r hwn sydd yn gwneuthur hyn yn *ddoeth*; eithr y mae yn weithred llawer mwy ardderchog a doeth i lywodraethu yn dda, nag i fuddugoliaethu. Mae llawer o ddynion galluog y ddaear wedi dyfod yn enwog mewn buddugoliaeth; ond o herwydd iddynt fethu rhoddi cyfreithiau haelionus a da i'r deiliaid a ennillasant, y fath ag a glymai eu calonau wrth eu concwerwyr, ac a greai ddiolchgarwch ynddynt tuag eu gwaredwyr, mae y gallu a gawsant mor annheilwng wedi myned heibio trwy fradwriaeth a ffoedigaeth, ac y maent hwythau mor enwog fel llywodraethwyr annoeth, ag oeddynt fel buddugoliaethwyr galluog: felly y mae hefyd yn Nheyrnas Dduw, y rhai a droant lawer at gyfiawnder a ddysclaeriant fel sêr yn dragywydd; eithr yr hwn a lywodraetha yn dda, a ystyrir yn deilwng o *anrhydedd*

*dauddyllyg.* Mae Cadben ein hiachawdwriaeth, yr hwn a'n danfonodd ni i fuddugoliaethu trwy gleddyf yr Ysbryd, wedi ein diwallu â chyfreithiau a rheolau llywodraeth, pur a pherffaith; ac â rhoddion a bendithion, i gyfranu i'r cyfryw a gymmerant y llw o ffyddlondeb. Maent yn cael eu rhyddhau ar unwaith oddiwrth euogrwydd a chnofeydd cydwybod, ac yn cael sicrwydd, os parhant yn ffyddlawn hyd y diwedd, yr achubir hwynt oddiwrth eu holl bechodau; ac am y rodd werthfawr hon, teimlant ymlyniad annesgrifiadwy ac anamgyffredadwy wrth y rhai a'i rhoddasant iddynt.

Yn gymmaint â bod y flwyddyn fynedol wedi bod yn un o ymdrech mawr, a llwyddiant cyffredinol er ennill eneidiau i'r Eglwys, gadewch i mi alw eich sylw at y pwnc o lywodraeth Eglwysig.

Mae galwad mor fawr wedi bod am Henuriaid i fyned â'r Efengyl i leoedd newyddion, ac y mae ymdrechiadau yr Eglwys wedi bod mor gyffredinol a phwerus er ychwanegi at eu rhif, nes y mae dyledswyddau yr Offeiriaid, yr Athrawon, a'r Diaconiaid, gweinidogion sefydlog yr Eglwys, i raddau wedi eu hesgeuluso. Tra mae aelodau wedi eu hychwanegi wrth y miloedd, mae yr Eglwys ei hun wedi bod yn ddiffygiol yn yr addysg ffyddlawn ac astud hwnw mewn dyledswyddau beunyddiol ac ymarferol, yr hwn yr oedd cyfreithiau ac ordinhadau yr eglwys wedi ei amcanu. Gellir cyfrif am hyn yn benaf, trwy y ffaith fod y galwadau lliosog am Henuriaid wedi tueddu i ordeinio Offeiriaid ffyddlawn i'r swydd hono. Mae yr Athraw ffyddlawn wedi ei ddyrchafu i swydd Offeiriad; ac y mae'r Diacon a werthfawrogai ei alwedigaeth, wedi ei ordeinio yn Athraw; ac felly y mae y swyddogion sefydlog yn yr Eglwys, y prif gynnorthwyau mewn llywodraeth, wedi eu gwneuthur mor gyfnewidiol, nes y maent i raddau wedi myned yn aneffeithiol yn eu galwedigaethau, yr hyn sydd wedi bod yn achos iddynt gael eu diystyru mewn llawer o amgylchiadau.

Pa beth yw dyben ymddangosiadol pob dyn wrth ymuno ag Eglwys Crist? Ai nid er mwyn i'w pechodau gael eu golchi ymaith trwy fedydd, fel y derbyniont gynnorthwy gwahanol swyddogion ac ordinhadau yr Eglwys, er eu galluogi i orchfygu eu tueddiadau drwg, a gosod o'r neilldu y pechodau sydd barotaf i'w hamgylchynu; fel y gallont trwy santeiddiad yr Ysbryd, a chredíniaeth o'r Gwirionedd, gael eu puro a'u perffeithio oddiwrth eu holl bechodau? Ië, yn ddiammau! dyma yw prif ddyben aelodiaeth yn Eglwys Crist; ac y mae'r nefoedd wedi darparu yn dra effeithiol gyferbyn â hyn, trwy sefydlu y swyddi o Offeiriad, Athraw, a Diacon, yn yr Eglwys.

Dyledswydd yr Offeiriaid yw pregethu, dysgu, esbonio, cynghori, a bedyddio, a gweinyddu y sacrament, ac ymweled â thŷ pob aelod, a'u cynghori i weddio ar lafar ac yn ddirgel, a gofalu am bob dyledswyddau teuluaidd.

Dyledswydd y dysgawdwr yw gwylio dros yr eglwys yn was

tadol, a bod gyda hwynt, a'u nerthu, a gweled nad oes dim drygioni yn yr Eglwys,—dim caledwch tuag at eu gilydd—dim dywedyd celwydd, athrodi, na llefaru yn ddrwg; a gweled fod yr Eglwys yn cyd-gyfarfod yn fynych, ac hefyd gweled fod yr holl aelodau yn gwneyd eu dyledswydd.

Mae y Diacon i gynnorthwyo y Dysgawdwr yn ei *holl* ddyledswyddau, os bydd achos yn gofyn.

Pwy nad all weled ar un olwg, os cyflawnir y dyledswyddau hyn yn onest a ffyddlawn, o dan ddylanwad yr Ysbryd Glân, y bydd yn anmhosibl i bechod lechu yn yr Eglwys heb gael ei weled. Pe na byddai felly, buasai Eglwys Crist yn anmherffaith, ac nis cyflawnai ddyben mawr a santaidd Iachawdwriaeth, er mwyn pa un ei sefydlwyd. Hon yw y Sefydliad Santaidd hwnw, a'r rhai hyn yw rhai o'r swyddi a'r galwedigaethau santaidd a benodwyd gan Dduw i gynnorthwyo dyn i ymddiosg oddiwrth ei bechodau, ac ymwisgo â chyfiawnder Crist; a'r hwn sydd yn myned i mewn trwy fedydd a gosodiad dwylaw, os na throsedda, eithr a erys yn athrawiaethau ac ordinhadau yr Eglwys, a gaiff ddawn a gallu yr Ysbryd Glân i'w ganlyn. O rodd wynfydedig y nefoedd i ddyn! mor annhebyg i'r sefydliadau afiach, llesg ac analluog o eiddo dynion, y rhai a genedlwyd mewn anwybodaeth, a ddygwyd allan mewn ffolineb, ac a feithrinwyd gan ddichell offeiriadol, a'r rhai a sïant eneidiau dynion i golledigaeth, yn eu ffordd ddewisol eu hun.

Nid yw Eglwys Crist yn lo i wyr a gwragedd sy'n chwennych ymarfer drygioni dan gochl crefydd; mae rhai wedi treio hyny, eithr mae eu pechodau wedi cael gafael ynddynt, a hwy a fwriwyd allan oddiwrthym, fel yr adnabyddid nad oeddynt o honom ni. Eithr y mae yn le i'r cyfryw a ddymunant ddyfod i'r goleuni, fel y ceryddor eu gweithredoedd, ac fel y rhodiont yn y goleuni ac na phechont; yn mha le y gallant, os ydynt yn glaf, gael eu hiachâu; ac os byddant yn cael eu temtio a'u profi, y gallant dderbyn gair o gefnogaeth gan eu Hathrawon, er eu galluogi i orchfygu; os byddant yn drist, y gallant gael eu cysuro; os cyfeiliornant, y gallant gael eu dysgu, a dyfod i ddealltwriaeth; ac os pecha rhywrai yn anwybodol, y gallant gyffesu, gadael eu bai, a chael trugaredd; eithr os na edifarhant am hyny, hwy a fwrir, allan, fel na haloger yr Eglwys â'u ffyrdd drygionus; ac os bydd rhywun yn amddifad ac anghenus, ei anghenion a hysbysir ac a ddiwallir;—fel y cyd rodio yr aelodau trwy gymhorth eu Hoffeiriaid, eu Hathrawon, a'u Diaconiaid, yn holl ordinhadau yr Eglwys, megys etifeddion y grâs o fywyd, gan ddwyn beichiau eu gilydd, ac felly gyflawni y gyfraith ddwyfol.

Gan weled, ynte, fod bywyd, iechyd, a sefydlogrwydd, grymusder, a phurdeb yr Eglwys, i raddau mawr, yn deilliaw oddiwrth gyflawniad ffyddlawn dyledswyddau y swyddau hyn, eithr yn neillduol ddyledswydd yr Athraw; y mae o'r pwys mwyaf i'r swyddogion hyn fod yn ddynion gostyngedig a ffyddlawn, yn llawn o'r Ysbryd Glân a gweithredoedd da; yn ddynion profiadol yn

ngwybodaeth a gallu Duw; dynion ag sydd yn barod i ddysgu trwy eu hesiampl, yn gystal â thrwy air, orthrymedig feibion dynion, pa fodd y gallant weithio allan eu hiachawdwriaeth, a gorchfygu y drygau ag sydd yn y byd.

Cyfarwyddir Llywyddion y Cangenau a'r Cynnadleddau, ac yn neillduol y brodyr Americanaidd, i dalu sylw i'r pwnc hwn; dewiser dynion da a ffyddlawn o blith y Cangenau, dynion o gymmeriad da, o ymddygiad teilwng i'w dilyn, y cyfryw a lywodraethant yn dda yn eu tai eu hunain, dynion o brofiad yn ngwaith Duw, dynion o feddyliau diysgog; os byddant yn ddynion cedranus, ac yn rhieni, goreu oll, fel y dysgont ac yr anrhydedder hwynt megys tadau, fel y byddo i'w presennoldeb a'u cynghorion ennill parch yn Eglwys Dduw; ac os bydd y personau mwyaf addas i gyflawni y dyledswyddau pwysig hyn yn Henuriaid, nid oes gwahaniaeth, neillduer hwy at y ddyledswydd uwch a phwysicach o hyfforddi y Saint.

Nid yw yn gofyn ond ychydig brofiad yn y gwaith, mewn cymhariaeth, i bregethu ac amddiffyn egwyddorion cyntaf yr Efengyl yn llwyddiannus gerbron y byd; eithr i fod yn weinidog galluog i weinyddu i'r Saint, a ofyna ddyn yn fedrus yn holl eiriau y bywyd, yn llawn ffydd, ac ysbryd y dadguddiad.

Na ddiystyred un dyn y swydd hon, eithr bydded i'r hwn sydd yn ddoeth anrhydeddu ei alwedigaeth, ac ychwanegu urddas ati, fel tra fyddo yr Efengyl yn cael ei phregethu gyda diwydrwydd i gynnulleidfaoedd o anghredinwyr, y caffo y Saint eu cyfran o fwyd yn ei bryd.

Dywedodd hen brophwyd, "Fy mhobl a ddyfethir o eisieu gwybodaeth." Y wybodaeth o Dduw ac o'i Fab ef Iesu Grist yw Bywyd Tragywyddol. Am hyny, bydded i'r rhai a gofleidiant y ffydd gael eu dysgu yn dda a gwirioneddol yn y wybodaeth o Dduw, fel y gallont bob amser roddi rheswm am y gobaith sydd ynddynt, ac addurno eu proffes â bywyd ac ymarweddiad da. Os dilynir y dull hwn gyda'r ffyddlondeb a'r bywiogrwydd a ofyna iachawdwriaeth eneidiau, yna pan ymgasglo cymylau adfyd yn llu oddiamgylch y Saint, yn lle myned at y cwpan meddwol i foddi eu gofidiau, fel y gwna y drygionus, hwy a ânt i'w hystafelloedd dirgel, a thrwy weddi ffydd, yfant o gwpan y bywyd ddoniau a bendithion yr Ysbryd, yr hyn a'u hadnewydda ac a'u cynnalia yn mhob cystuddiau. Yna gallu Duw a gynnydda yn yr Eglwys; a doniau a bendithion yr Efengyl a arddangosir yn fwy gogoneddus yn eu mysg. Eu goleuni a dŷr allan fel boreuddydd ar bawb oddiamgylch iddynt, drygioni a ddygir i'r goleu ac a adawir; a pha beth bynag a ofynant ag a fyddo yn fuddiol, a roddir iddynt. Byddant yn fendith i bawb sy'n dal perthynas â hwynt, a'r genedl a fendithir oblegid eu bodoliaeth yn eu mysg.

Mae yr Ysbryd yn eglur ddangos y bydd i ddynion gwael a llygredig ag sydd wedi cael, ac i gael eu gwahanu oddiwrth yr Eglwys, am eu drygioni, gynhyrfu ereill, y rhai, yn debyg iddynt eu hunain, a ymbleserant mewn anghyfiawnder, ac a lefarhwy

ant gelwydd, mewn rhith santeiddrwydd yn erbyn y gwirionedd ac yn erbyn y Saint; a chânt allu, trwy eu chwyddedig eiriau celwyddog a thwyllodrus, i droi llaweroedd ymaith, y rhai ni feddant dystiolaeth Iesu o'u mewn. Achosant hefyd i lawer galedu eu calonau yn erbyn y gwirionedd, ac i gredu pob math o ddrwg am y Saint ar gam, er mwyn cyfodi erlidigaeth yn eu herbyn, fel y tramgwydder y gweiniaid a'r llesg o'r herwydd, tra y bydd ereill yn troi ymaith o herwydd y Gwirionedd, ac yn peidio ein canlyn mwyach.

Yn gymmaint â bod anghenrhaid i'r pethau hyn fod, bydded i'r henuriaid llywyddol trwy y Cynnadleddau drefnu gwahanol swyddi yr Offeiriadaeth Santaidd yn yr holl ordinhadau a'r dyledswyddau a berthynant i'r Eglwys, fel y byddo i'r "holl gorff, wedi ei gyd-gynnull a'i gyd gyssylltu, trwy bob cymmal cynnaliaeth, yn ol y nerthol weithrediad yn mesur pob rhan, wneuthur cynnydd y corff, i'w adeiladu ei hun mewn cariad:" yna hi a gynnydda i Grist, ei phen bywiol, trwy ddoniau a gweinidogaethau yr Ysbryd Glân; heb y rhai hyn, mae ein holl waith yn ofer.

Mae y galwad am weithwyr yn awr yn fawr o bob parth, ac yn fuan bydd yn llawer mwy, am hyny bydded i ddynion ffyddlawn a chywir gael eu galw i'r weinidogaeth, eithr nid yn gynt nag y byddont wedi eu parotoi i ddechreu ar eu gwaith, gan gofio o hyd y rheol fendigedig a roddwyd gan ein Hiachawdwr i'r prophwyd Joseph, h.y.,—mai dim ond y "cyfryw ag sydd ganddynt ffydd, gobaith, a chariad, a ddymunant fwrw i mewn eu crymanau i fedu â'u holl allu," a elwir. Na fydded i'r offeiriadaeth santaidd gael ei rhoddi yn ddiwahaniaeth, neu yn annheilwng, eithr defnyddier hi i'r dyben mawr a santaidd ei bwriadwyd—iachawdwriaeth eneidiau anfarwol. Fel rheol gyffredinol, y rhai mwyaf anmhrofiadol a ddefnyddiant eu talentau oreu wrth bregethu yr Efengyl i'r byd; tra y dylai y rhai sydd â'u dyledswydd i "*fod gyda hwynt* (yr Eglwys) *a'u nerthu a gweled nad oes dim drygioni yn yr* EGLWYS," fod y dynion mwyaf profiadol, doeth, a santaidd yn eich plith.

LLYWYDDION a DOSPARTHWYR y Cynnadleddau a'r Cangenau a ganiatânt i mi eu hadgoffa fod eu hymdrechion mawr i ledaenu yr Efengyl yn mhlith y bobl, mewn llawer amgylchiad, wedi taflu eu cynnadleddau i ddyledion mawr i'r swyddfa hon am y cyhoeddiadau a gawsant, ac oddieithr i ni gael ein talu yn gyflymach, bydd raid i ni gwtogi ein coel iddynt.

Mae y swm o ddyledion sydd yn sefyll allan i'r swyddfa hon yn bresennol, yn fawr iawn—ie, yn anferthol, i gyfateb y busnes a wnawn; a cheisir gan y llywyddion i edrych fod y Cymdeithasau Traethodau ag sydd yn ddyledus i'w dosparthwyr am lyfrau, traethodau, &c., i setlo am y cyfryw, os yn bosibl, cyn dechreu y flwyddyn newydd. Hefyd, bydded i'r Cangenau, yr un modd, i setlo am y "Stars" sydd ganddynt ar law, yna gall y Cangenau a'r cymdeithasau waredu eu Stars a'u traethodau fel y dewisont, —trwy eu gwerthu, rhoi eu benthyg, neu eu rhoi yn rhad, a gallwn

ninnau ddefnyddio yr arian i dalu ein dyledion i'r argraffydd a'r llyfr-rwymwr. Bydded i'r pethau hyn gael eich sylw buan a gofalus, fel na fyddo y traethodau na'r Stars a ddanfonasom allan i'r cynnadleddau, gael eu cyfrif megys *stock*, neu *ddyledion*, eithr yn *arian mewn llaw*.

Mae rhai o'r cynnadleddau wedi helaethu eu hymdrechion yn haelfrydig tuag at wahanol ddybenion haelionus, ar delerau o goel. Byddai yn dra dymunol, a dylai ddyfod yn awr yn uchelgais yr holl eglwysi, mor bell ag y byddo yn bosibl, i glirio ymaith eu holl ddyledion, a thaflu ymaith y llyffetheiriau hyn ar ffordd eu llwyddiant, fel y dechreuont y flwyddyn newydd mewn cyflwr adnewyddol a diwygiedig.

Nid ydym ni, y Saint yn yr ynysoedd Prydeinig, wedi dadseinio yn ol i'r floedd hono a aeth i fyny o'r Temple Block, yn Ninas y Llyn Halen Fawr, yn Ebrill diweddaf, mewn atebiad i'r cwestiwn, "A GAWN NI ADEILADU TEML?" Gelwir arnom yn fuan i ateb y cwestiwn hwn. Bydded i ni orphen â'r materion bychain hyn, fel y byddwn yn gwbl barod i *wneuthur*, yn gystal â *dywedyd* CAWN. Dysgwylia yr Arglwydd i'w bobl ddwyn eu degymau a'u hoffrymau i'w ystordŷ ef, o bob rhan o'r ddaear, lle bynag y byddont, canys hyn yw cyfraith y Deyrnas Nefol, ac nis gall neb fyned i mewn i'r cyflawnder o Fywyd Tragywyddol, oddieithr iddynt gadw y gorchymyn santaidd hwn, mewn cyssylltiad â phob rhai ereill.

Mae'r newyddion oddiwrth yr Eglwys yn y Gorllewin yn llawn dyddordeb. Mae yr egni a ddangosir yn eu holl symudiadau yn un heb ei fath, oddieithr sel ddiflino y Saint a'r Henuriaid wrth gyhoeddi yr Efengyl yn mysg y genedl hon a chenedloedd ereill. Ymddengys fod bendith Rhagluniaeth haelionus yn gorphwys arnynt, ac yn coroni eu llafur â llwyddiant anarferol. Mae eu cnydau yn gyffredin yn dda. Mae eu hinsawdd yn neillduol o iachus; y mae llawer ag oedd yn fethiedig mewn nerth corfforol, yn awr yn adnewyddu mewn nerth, yn gofforol ac ysbrydol. Y maent wedi myned allan yn ystod y flwyddyn hon i ranau pellenig o'r wlad anial hono, a ffurfio sefydliadau newyddion er dwyn allan gynnyrchion y ddaear, yn fwnawl ac yn lysieuawl; mae darnau helaeth o dir wedi eu hachlesu, a'u gwneyd yn ffrwythlon. Y mae pob math o dalent a galwedigaeth yn cael eu galw i weithrediad, a'u cymhwyso yn y modd goreu i ddwyn yn mlaen lwyddiant cynnyddol cenedl ieuanc, undeb yr hon sydd yn cau allan ymgyfreithio, ac uchelgais yr hon yw adeiladu a sefydlu Seion. Mewn canlyniad i weithred o eiddo y Congress, y maent wedi eu rheoleiddio yn Diriogaeth Utah, ac yn meddu gallu llywodraethol a barnol. Mae llythyr-gludiad misol wedi ei sefydlu o Ddinas y Llyn Halen i'r Taleithau, ac i San Francisco, ar oror y Môr Tawel. Mae llythyr-gludiad hefyd wedi ei sefydlu o'u prif ddinas i brif-drefi amryw o'r swyddi yn y Diriogaeth. Mae Tŷ Taleithiol ar waith yn adeiladu; ac y mae'r Brif-Athrofa yn cael ei chyfodi yn gyflym. Mae y Degau a-thrugain yn adeiladu crwn-

dŷ—neuadd celfyddyd. Yn olaf ac yn benaf, y mae parotoiadau helaeth yn cael eu gwneuthur er adeiladu Teml ardderchog i'r Goruchaf Dduw, yn mha un y bydd i ordinhadau bywyd tragywyddol gael eu gweinyddu i'r cyfiawn.

Mae teimlad cyfeillgar yn bodoli yn y Taleithiau tuag at y Saint, yr hwn a ddangoswyd yn ddiweddar trwy y gwrthbrofiad buan ac effeithiol a roddwyd i gyhuddiadau enllibus yn erbyn y Llywydd Brigham Young, yn ei swydd lywodraethol. Gosodwyd y cyhuddiadau hyn ar droed, yn ol fel y deallwn ni, gan ryw ddihyryn diegwyddor, yr hwn, am gynnyg ymarfer ei gynlluniau drygionus, a ddedfrydwyd i dymmor o waith caled ar y gweithiau cyhoeddus. Nid oes gan y Saint gydymdeimlad tuag at gymmeriadau o'r fath, mae heddwch eu cartref-leoedd wedi ei aflonyddu yn hir gan eu hyspeiliadau; ac y mae yn gyfnod ogoneddus i'r Eglwys eu bod wedi cyrhaedd sefyllfa ag y gall gospi troseddwyr trwy y gyfraith wladol, yn gystal ag aelodau afreolus trwy esgymundod. Ac nid yw yn llai teilwng o sylw, pan y mae cymmeriadau ein llywodraethwyr yn cael eu gwarthruddo gan y fath ddihyrod, mewn papyrau cyhoeddus, fod y fath ddynion uchelfrydig ac anrhydeddus, fel T. L. Kane, Ysw., i'w cael yn barod i dreiglo yn eu hol y tònau mynyddig, a gadael i'r diniweidrwydd a gafodd gam, amlygu ei hun.

Yn y Taleithiau Dwyreiniol, mae y Saint yn ychydig iawn; mae y rhai a arosant yno etto megys lloffiad grawnwin ar ol i'w cynauaf ddarfod; ac ofnir mai braidd y diangant farnedigaethau Duw. Ni ddylai Saint o Loegr ymfudo i'r Taleithiau Dwyreiniol, oddieithr eu bod yn cael eu gorfodi trwy yr angenrheidrwydd mwyaf anhebgorol. Mae y rhai sydd yn trigo yn St. Louis, ac ar y cyffiniau, yn gwneyd yr ymdrechiadau mwyaf egniol i fyned ymaith i'r Dyffryn y gwanwyn dyfodol.

Mae y flwyddyn bresennol wedi bod yn un o heddwch a llwyddiant anarferol i'r genedl hon; dichon nad yw Prydain, er pan y mae yn genedl, wedi mwynhau ar unwaith y fath ryddid, heddwch, a llwyddiant cyffredinol, yn eu holl achosion, ynghyd â'r fath ewyllys da cyffredinol oddiwrth yr holl deulu cenedlaethol ag sydd yn preswylio ein daear, ag a gafodd yn ystod y flwyddyn sydd ar derfynu; ac yn lled gyffelyb y gellir dywedyd am Daleithiau Gorllewinol Ewrop; yn wir, ymddengys y byd megys pe byddai wedi rhoi heibio ei elyniaeth arferol—er dyfod i fyny i brif-ddinas Babilon, i addoli wrth greirfa dyfais ddynol yn y Deml Risialaidd. Megys y claf yn y ddarfodigaeth, mae y teulu dynol yn cael tymmorau o esmwythdra oddiwrth boenau dirdyniadol, ac y mae edrychwyr yn cael eu twyllo gan lonyddwch ymddangosiadol, i obeithio am wellhad, tra mae'r clefyd yn ddystaw yn cymmeryd gofael gadarnach yn y bywydolion, ac mewn moment annysgwyliadwy y mae ymddattodiad prysur yn dechreu. Mae Duw wedi arfaethu darfodedigaeth ar yr holl ddaear, a thrwy dywalltiad gwaed y prophwydi a'r apostolion, Joseph, Hyrum, David, ac ereill, mae y ddarfodedigaeth hono

wedi ymafaelyd yn gadarn. Yn ystod yr amser heddychlawn hwn, mae Apostolion yr Eglwys wedi gwneyd ymdrechiadau duwiolfrydig i helaethu teyrnas ein bendigedig Waredwr. Mae y cof-lyfr dwyfol hwnw a gynnwysa *gyflawnder yr Efengyl*—LLYFR MORMON—wedi ei gyhoeddi mewn rhan, ac yn gyfan, mewn pump o wahanol ieithoedd Ewrop, sef y Danaeg, yr Italaeg, y Ffrengaeg, y Gymraeg, a'r Ellmynaeg. Mae yr "Athrawiaeth a Chyfammodau" yn awr mewn cylchrediad yn y Gymraeg; ac wedi ei gyfieithu i'r Danaeg, yn barod i'r wasg. Y rhai hyn, yn nghyd â cyhoeddiadau misol sydd yn dyfod allan yn Paris, Copenhagen, a Hamburg, ynghyd ag UDGORN SEION, yr hwn a gyhoeddir yn Nghymru, a "Millennial Star" ein hunain o dair mil ar hugain bob pythefnos, a gyfansoddant rai o neillduolion mwyaf ein hachos santaidd, y rhai a addawant gynnydd mwy ei faint i deyrnas Dduw, a'i gwawr ogoniant i'r morwynion sydd yn dywyll arnynt, y rhai a gysgant yn mhlith y cenedloedd hyny, a'r rhai a barchant etto y coffadwriaeth am 1851, fel cyfnod hynod yn hanes Goruchwyliaeth Cyflawnder yr Amseroedd.

Y fath argoelion gogoneddus sydd o flaen y Saint: mae benllefau y medelwyr yn ngwinllan yr Arglwydd eisoes yn cyrhaedd ein clustiau o bedwar ban y byd, yn galw am Henuriaid, llyfrau, &c., drosedd i'w cynnorthwyo.

O chwi Saint y Goruchaf, dyrchefwch eich penau a gorfoleddwch; trwyddoch chwi y bwriada yr Arglwydd ddwyn oddiamgylch ei weithred, ïe, ei weithred ddyeithr, yn ngolwg yr holl genedloedd: er cael o honoch eich darostwng yn bresennol, chwi a ddyrchefir etto; ac er eich bod yn drist yn awr, chwi a wneir i orfoleddu byth mewn tragywyddol bwys gogoniant, yr hwn y mae dyoddefiadau y bywyd hwn yn weithio allan i chwi, os parhewch hyd y diwedd yn mhurdeb eich calonau. Er bod o honoch yn dlawd fel yr Iachawdwr, etto fel yntau yr ydych yn cyfoethogi llaweroedd; ac er eich bod yn anllythyrenog, y mae genych Wybodaeth o Dduw, yr hon yw Bywyd Tragywyddol. Er eich bod yn ddiffygiol mewn pethau daearol, etto yr ydych yn gallu cyflawni gorchestion rhyfeddol pan yn cyd-ymdrechu, pa un bynag ai yn mhregethiad yr Efengyl, neu mewn ymgasglu yn nghyd ac adeiladu dinasoedd a Themlau; a hyn oblegid fod Ysbryd a doethineb y Jehofa genych, yr hyn sydd yn well nâ nerth, neu arfau rhyfel.

Bum yn gobeithio cael rhywbeth i hysbysu i chwi yr amser hwn ynghylch ymfudo trwy y Drysorfa Ymfudol Barhaus, eithr nid wyf etto wedi derbyn un hysbysiaeth benderfynol gyda golwg ar y ffordd. Er hyny, yr wyf yn gobeithio y dwg y llythyron nesaf o'r dyffryn rywbeth i'n lloni yn hyn. Na adewch i'r Drysorfa gael ei hesgeuluso. Y mae pob ceiniog a yrwyd i'r swyddfa hon yn cael eu cadw yn ddiogel i'r dyben neillduol hwnw; a phan y byddis wedi penderfynu ynghylch y ffordd, defnyddir yr unrhyw er symud ymaith y nifer fwyaf posibl o'r rhai teilwng. Bydd y Drysorfa hon yn foddion i gasglu llawer mwy o nifer nâ'r

rhai a allant ymgasglu ar eu cost eu hunain, canys ynddi y cydgyfarfydda ffydd a gallu yr holl Eglwys, yr hyn a'i gwna yn beiriant tra pwerus yn yr Ymgasgliad.

LLYWYDDION Y CYNNADLEDDAU.—Fel y mae rhwyd Efengyl y Deyrnas yn ymdaenu ar led, ac yn casglu ynddi bob math, mae eich dyledswyddau a'ch cyfrifoldeb chwi yn cynnyddu mewn rhifedi, mewn amrywiaeth, ac mewn pwysigrwydd. Yr ydych wedi eich penodi i lywyddu dros holl achosion eich Cynnadleddau, o natur dymmorol ac ysbrydol. Gofyna ddiwydrwydd mawr ar eich rhan chwi i chwilio allan, ac amgyffred holl amgylchiadau eich Cynnadleddau. Nid yw y gwaith, er ei fod eisoes yn fawr, ond megys diferyn yn y gelwrn. Mae yr Arglwydd, gan fod yn llawn trugaredd, yn tywallt ei Ysbryd yn helaeth ar ei ffyddlawn weision yn mhob lle. Yr hwn a geisia wasgaru ei alluoedd ar led gyda'r diwydrwydd mwyaf, a wna fwynhau fwyaf o fendith a gallu Duw; am hyny, bydded i bawb sydd wedi eu galw, fwrw eu crymanau i mewn a medi, cyn y darfyddo yr haf, a thra y mae barnedigaethau yn cael eu hattal; canys ychydig dymmor etto, a haint, a chleddyf, a chofres ofnadwy barnedigaethau trymion Duw a ganlynant mewn olyniad cyflym, ac a ddadguddiant ei lidiawgrwydd ar yr annuwiol yn eu dinystr, tra braidd y dianga y cyfiawn. Gosodwch eich gwynebau yn ddifaddeu yn erbyn pob math a anghyfiawnder: Cofiwch fod dynolryw i'w hachub oddiwrth eu pechodau, ac nid ynddynt. A'r hwn neu yr hon, na adawont eu pechodau, ar ol eu haddysgu a'u cynghori yn briodol, bwrier hwy allan oddi wrthych, fel yr ymhyfrydo yr Ysbryd Glân drigo yn holl drigfanau y Saint. I chwi yr ymddiriedir gofal eneidiau anfarwol; a'ch gallu i weinyddu iddynt eiriau bywyd ac iachawdwriaeth, a fydd yn gyfattebol i'r *cyfrif* a'r *ymarferiad* a wnewch chwi eich hunain o eiriau Duw. Os cyfrifwch chwi yn ysgafn y gorchymynion gwerthfawr a welodd Efe yn dda i'w dadguddio, trwy y rhai y gall dynolryw gael eu hachub, felly hefyd y gwna eich pobl; canys y mae eich esiampl yn dysgu gyda llawer mwy o nerth, nag unrhyw resymau a ellwch ddefnyddio. Os byddwch chwi yn gwerthfawrogi cynghorion yr Hollalluog yn fwy nag aur coeth, neu holl drysorau y ddaear, ac yn ceisio doethineb a bywyd, ysbryd a ffydd, trwy gadw geiriau *doethineb*, yn gystal â gorchymynion, yna eich pobl hefyd a gyfrifant eiriau yr Arglwydd megys uwchlaw pris; hwy a ymhyfrydant i wneyd aberth, fel yr ennillont eneidiau: byddant yn alluog mewn ffydd tuag at Dduw; ysbryd y dadguddiad a ffydd yn helaeth ynoch chwi a hwythau; ac ni chaiff afiechyd ychydig neu ddim gallu yn eich plith; ac ni fydd ysbrydion drwg a thwyllodrus yn alluog i ddyfod i mewn, a difrodi eich praidd, canys doethineb a gallu yr Ysbryd a fydd yn ddigonol i chwi. Cynghorion yr Hollalluog a lenwant eich mynwesau; a chwi a fyddwch i'r bobl megys ffynnonau o ddwfr bywiol, o ba rai y gallant dynu geiriau bywyd ac iachawdwriaeth yn holl amgylchiadau bywyd; eich Offeiriadaeth a ddyhidla arnoch megys gwlith y nefoedd; chwi a gewch allu gyda Duw, ac a fyddwch yn feibion

Duw, yn mhlith y bobl, yn meddu hawl i'w bendithio, a chyfranu iachawdwriaeth ar bob llaw.

Bydded i gyfiawnder a ffydd gynnyddol y Saint yn yr ynysoedd hyn, i gymhell bendithion mawrion Duw ar holl ymdrechiadau ei weision, a brysio dydd eu hymwared, a'u sefydliad mewn etifeddiaethau rhagorol yn mhlith y cyfiawnion yn Seion.

F. D. RICHARDS,
Un o'r Deuddeg Apostol, a Llywydd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn yr Ynysoedd Prydeinig.

## "GADEWCH I MI FYN'D."

ANWYL FRAWD DAVIS,—Ar ddymuniad amryw o'm cyfeillion, mi a anturiais wneuthur rhyw fath o gyfieithad clogyrnog, neu yn hytrach ddynwarediad o gân odidog yr Apostol Taylor, nid am fy mod yn ystyried fy hun yn deilwng nac yn alluog i'r gorchwyl, ond gan nad oedd neb yn ei gymmeryd mewn llaw. Dyma fi am y tro cyntaf yn anfon i'ch UDGORN defnyddiol; a'r achos yr anturiais at y gorchwyl oedd, am fy mod yn gwybod am eich parodwydd a'ch gallu i osod yr hyn ag sydd yn anghywir yn gywir.

Ydwyf, eich diffuant frawd ac ewyllysiwr da,

*Victoria.* JAMES JAMES.

'Dewch im' fyn'd tua'r Dyffryn gorllewinol a phell,
At gyfeillion a brodyr—pwy garaf yn well?
Lle mae serch a gwir gariad trwy'u c'lonau ar hynt;
I fy nhre'n y mynyddau, gadewch i mi fyn'd.

'Dewch im' fyn'd tua'r Dyffryn—gorphwysfa i'w chael,
A byw gyda'r cyfiawn a'r goreu'n ddiffael;
Gwir hedd a boddlonrwydd fel afonydd ar hynt;
I'r hardd hyfryd Ddyffryn, gadewch i mi fyn'd.

Af at fy rhai anwyl, orthrymwyd yn hir,
'Rhai ffodd tua'r Dyffryn, i'r gorllewin dir,
Lle nad oes cynhenwyr neu ddrygwyr ar hynt;
At yr hoff a'r rhinweddol, gadewch i mi fyn'd.

Mi âf at y seintiau i Seion i fyw,
A theithiaf y Dyffryn—gorphwysfa i'm yw;
Rhowch im' ran o'u llawenydd, neu wae ar fy hynt,
I dref y rhai cyfiawn, gadewch i mi fyn'd.

Mi a âf tua'r Seion barotoiodd ein Duw,
Hoff obaith y Seintiau, a'u gwobr hwy yw;
Caf yno ffynnonau mewn purdeb ar hynt,
A'r ddae'r mewn digonedd, gadewch i mi fyn'd.

Mi a af lle mae goleu tragywyddol a gwawl,
Er uno â'r ffyddlawn mewn gweddi a mawl;
Caf ffrydiau nefolaidd ein Duw ar fy hynt;
At y pur a'r rhai cyfiawn, gadewch i mi fyn'd.

Mi a af lle mae baner gwir ryddid o hyd,
I bob rhyw gredoau trwy'r holl lydan fyd;
Pob llwythau, pob lliwiau, cenedloedd ar hynt,
Yn rhydd o orthrymder, gadewch i mi fyn'd.

O, Phillips, wr anwyl, 'rwy'n dysgwyl y dydd,
Y caf trwy eich goreu o'm rhwymau fyw'n rhydd;
Mi'ch parchaf, mi'ch cofiaf, a galwaf chwi'n ffrynd,
Gan hyny o brysur, gadewch i mi fyn'd.

Mi a frysiaf o Babel, ei gafael sydd gaeth;
'Nol myned i Seion, caf foddion gwir faeth;
'Nol hirdaith bydd melys a hwylus fy hynt—
I'r lle mae fy nghalon, gadewch i mi fyn'd.

[Mae y llinellau hyn yn cael eu cyhoeddi heb nemawr ddiwygiad; ac os oes ynddynt golliadau mewn odl, etto mae y sylwedd yn dda. Dywedwn wrth ein brawd, fod Llywyddiaeth Cymru yn caniatâu iddo fyned, gan fod galwad am Gymro neu ddau yn y Dyffryn er dechreu gweithiau haiarn yno. Yr Arglwydd a fendithio ein brawd hwn, ynghyd â'r sawl a fydd yn myned gydag ef, fel y cyrhaeddont fynyddoedd Ephraim yn ddiogel.—Gol.]

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Taliadau o Rag. 12 hyd Rhag. 24.—Sir Fynwy, £2; Sir Gaerfyrddin, £6 1s 9c; Sir Dinbych, £2 5s; Sir Benfro, £1; Pontytypridd, £1 8s; Llanfabon, 14s 2c; Cwmbach, £1 4s (Tach. 16, £1 9s); Aberdar, £1 16s 10c; Hirwaen, £1 10s; Merthyr, £2 4s; Pendaren, £1 14s 2c; Cefn, 14s; Gorllwyn, 7s 3c; Ffynnon Tydfil, £1; Aberamau, £2; Morganwg Orllewinol, £3 1s; Cyfanswm, £30 9s 2c.

☞ Wrth fyned i'r wasg, derbyniasom y Chwechfed Epistol Cyffredinol, ynghyd â llawer o newyddion o'r Dyffryn, y rhai a gyhoeddwn yn y nesaf.

☞ Cofier darllen ein Hanerchiad ynghylch yr Udgorn yn Rhif. 24, fel na chaffo neb ei siomi yn ei bris.

☞ Daw y biliau am y chwarter hwn gyda y rhifyn nesaf.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# SEREN Y SAINT;

YN CYNNWYS

EGWYDDORION "GORUCHWYLIAETH CYFLAWNDER YR AMSEROEDD,"

MEWN

TRAETHODAU, LLYTHYRON, HANESION, PRYDYDDIAETH, &c.

"Nyni a iachasom Babilon, ond nid aeth hi yn iach; gadewch hi, ac awn bawb i'w wlad: canys ei barn a gyrhaedd i'r nefoedd, ac a ddyrchafwyd hyd yr wybrau,"—JER. LI, 9.

"Dring rhagot, yr efengyles Seion, i fynydd uchel,"—ESA. XL, 9.

CYFROL IV.

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD, CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN J. DAVIS, HEOL JOHN, GEORGETOWN.

1852.

# RHAGYMADRODD.

ANWYL DDARLLENWYR,—Wele y bedwaredd gyfrol o Udgorn Seion yn awr yn eich meddiant, a meddyliwn y gallwn ddweyd mai dyma y gyfrol oreu etto. Mae yr Eglwys yn myned ar ei chynnydd mewn gwybodaeth, ac y mae yn rhaid fod ei chyhoeddiadau yn cynnydda yr un fath. Bu amser arnom pan nad oedd genym yn Nghymru gyhoeddiad o un math; ond buan, trwy ddaioni Duw, fe ymddangosodd "Prophwyd y Jubili," a bu am ddwy flynedd a hanner yn effeithiol iawn i daenu gwybodaeth o'r egwyddorion cyntaf, ac amddiffyn cymmeriadau y Saint; ac ni fu ei Olygydd medrus yn ol o wneuthur ei oreu er ei wneyd yn gyfrwng addysg i'r Eglwys Gymreig. Mae yr amser hyny wedi myned drosodd. Yr oedd yn hyfryd genym ddarllen sylwadau y brawd Jones ac ereill yn y cyhoeddiad hwnw; yr oeddynt yn cyfateb i sefyllfa yr Eglwys y pryd hyny; eithr yn awr mae yr Eglwys Gymreig yn ymofyn pethau amgenach, ac y mae yn cael cymmaint ag a all dderbyn oddiwrth y Brif-Lywyddiaeth yn Seion. Mae ein sylwadau ni fel Golygydd wedi myned yn anaml, a llenwir ein cyhoeddiad â'r pethau goreu dan y nefoedd, sef, cynnyrch pen yr Eglwys. Gall fod rhai brodyr ag nad ydynt yn dilyn yr Eglwys yn ei chynnydd, yn hiraethu am adferiad o ysgrifau eiddo y rhai a ymddangosodd yn y "Prophwyd" a'r gyfrol gyntaf o'r Udgorn; yr oedd y rhai hyny yn dda yn eu tro, ac yn fuddiol er ein parotoi erbyn amser gwell, pan y caffem ddrachtio o'r ffynnonell. O hyn allan cawn yfed bob wythnos o'r wybodaeth oreu; ac y mae ystor o honi yn dysgwyl cael cyhoeddiad trwy yr Udgorn y flwyddyn nesaf, pan y rhydd efe ei sain yn wythnosol. Diolchwn i Dad pob daioni am ei liosogrwydd bendithion i'w bobl, ac am eu harbed hwy a ninnau i wasanaethu yn ei enw hyd yr amser presennol. Gofaled Efe am danom oll hyd ddiwedd ein dydd, a bydded ein rhan yn dragywyddol yn ei deyrnas ddigyfnewid Ef. Diolchwn hefyd i'n brodyr am eu llafur diwyd mewn cyssylltiad â'r cyhoeddiad hwn, a bendithied yr Arglwydd hwynt ar eu canfed. Dylifed môr o wybodaeth i'r Saint, a phenedded eu gelynion ar ddoethineb ddynol; gwareder y Saint i Seion, a brysied cwymp Babel, fel y cyflawner bwriadau Duw, ac yr achuber y pur o galon.

Yr eiddoch yn rhwymyn y gwirionedd,

JOHN DAVIS.

*Merthyr, Rhag. 22, 1852.*

# RHAGYMADRODD.

ANWYL DDARLLENWYR,—Wele y bedwaredd gyfrol o UDGORN SEION yn awr yn eich meddiant; a meddyliwn y gallwn ddweyd mai dyma y gyfrol oreu etto. Mae yr Eglwys yn myned ar ei chynnydd mewn gwybodaeth, ac y mae yn rhaid fod ei chyhoeddiadau yn cynnyddu yr un fath. Bu amser arnom pan nad oedd genym yn Nghymru gyhoeddiad o un math; ond buan, trwy ddaioni Duw, fe ymddangosodd "Prophwyd y Jubili," a bu am ddwy flynedd a hanner yn effeithiol iawn i daenu gwybodaeth o'r egwyddorion cyntaf, ac amddiffyn cymmeriadau y Saint; ac ni fu ei Olygydd medrus yn ol o wneuthur ei oreu er ei wneyd yn gyfrwng addysg i'r Eglwys Gymreig. Mae yr amser hyny wedi myned drosodd. Yr oedd yn hyfryd genym ddarllen sylwadau y brawd Jones ac ereill yn y cyhoeddiad hwnw; yr oeddynt yn cyfateb i sefyllfa yr Eglwys y pryd hyny; eithr yn awr mae yr Eglwys Gymreig yn ymofyn pethau amgenach, ac y mae yn cael cymmaint ag a all dderbyn oddiwrth y Brif-Lywyddiaeth yn Seion. Mae ein sylwadau ni fel Golygydd wedi myned yn anaml, a llenwir ein cyhoeddiad â'r pethau goreu dan y nefoedd, sef cynnyrch pen yr Eglwys. Geill fod rhai brodyr ag nad ydynt yn dilyn yr Eglwys yn ei chynnydd, yn hiraethu am adferiad o ysgrifau cyffelyb i'r rhai a ymddangosodd yn y "*Prophwyd*" a'r gyfrol gyntaf o'r UDGORN; yr oedd y rhai hyny yn dda yn eu tro, ac yn fuddiol er ein parotoi erbyn amser gwell, pan y caffem ddrachtio o'r ffynnonell. O hyn allan cawn yfed bob wythnos o'r wybodaeth oreu; ac y mae ystor o honi yn dysgwyl cael cyhoeddiad trwy yr UDGORN y flwyddyn nesaf, pan y rhydd efe ei sain yn *wythnosol*. Diolchwn i Dad pob daioni am ei liosogrwydd bendithion i'w bobl, ac am eu harbed hwy a ninnau i wasanaethu yn ei enw hyd yr amser presennol. Gofaled Efe am danom oll hyd ddiwedd ein dydd, a bydded ein rhan yn dragywyddol yn ei deyrnas ddigyffelyb Ef. Diolchwn hefyd i'n brodyr am eu llafur diwyd mewn cyssylltiad â'r cyhoeddiad hwn, a bendithied yr Arglwydd hwynt ar eu canfed. Dylifed môr o wybodaeth i'r Saint, a phenfeddwed eu gelynion ar ddoethineb ddynol; gwareder y Saint i Seion, a brysied cwymp Babel, fel y cyflawner bwriadau Duw, ac yr achuber y pur o galon.

Yr eiddoch yn rhwymyn y gwirionedd,

JOHN DAVIS.

*Merthyr*, *Rhag*. 22, 1852.

# CYNNWYSIAD.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 1.] IONAWR 10, 1852. [CYF. IV.

## CHWECHFED EPISTOL CYFFREDINOL

*Llywyddiaeth Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, o Ddyffryn y Llyn Halen Fawr, at y Saint gwasgaredig ar hyd y ddaear. Yn anerch:—*

ANWYLAIDD FRODYR,—Pan oedd yr Iachawdwr ar y ddaear, a'i ddyscyblion yn ei holi ynghylch arwydd ei ddyfodiad, yr Iesu, gan gyfeirio at y dyddiau diweddaf, a'u hatebodd yn y modd hyn: Gau-Gristiau a gau-brophwydi a gyfodant, ac a roddant arwyddion mawrion a rhyfeddodau, gan ddywedyd, Wele yma! ac Wele acw! hyd nes y twyllant, pe byddai yn bosibl, ië, yr etholedigion: na chanlynwch, ac na chredwch hwynt; oblegid fel y daw goleuni y wawr allan o'r dwyrain, ac y tywyna i'r gorllewin, felly hefyd y bydd dyfodiad Mab y Dyn.

Mae llawer o'r arwyddion a'r rhyfeddodau, a'r gau-Gristiau a'r gau-brophwydi a grybwyllwyd, wedi cael eu dangos yn barod, hyd nes y mae llawer wedi hysbyſu y dydd y byddai i Fab y Dyn wneuthur ei ymddangosiad; ac y mae llawer wedi credu eu tystiolaeth, ac wedi eu siomi; tra yr oedd y rhai a lanwyd â'r Ysbryd Glân, trwy osodiad dwylaw, a thrwy edifarhau am eu pechodau, a derbyn maddeuant o honynt trwy fedydd mewn dwfr, yn dysgwyl ar gynnydd graddol gwaith yr Arglwydd, yr hwn a fu megys goleuni y wawr, fel y mae ar y cyntaf yn goreuro yr awyrgylch dwyreiniol, ac yn parhau myned yn ddysclaeriach dysclaeriach, ac yn ymdaenu yn mhellach pellach o'r dwyrain i'r gorllewin, ac yn parhau felly hyd nes y byddo yr holl awyrgylch yn cael ei oleuo gan ddysclaerdeb mawr yr haul ganol dydd; ac

Haul y cyfiawnder a wna ei ymddangosiad yn nghanol ei bobl, yn ol ei eiriau ef ei hun.

Goleuni cyntaf y wawr yn yr oes hon, a'r amser y cyfeiriwyd ato gan yr Iachawdwr, oedd yr angel, yr hwn a feddai yr efengyl dragywyddol, yr hon ag oedd i gael ei phregethu i'r holl bobl), yn pregethu a gweini i Joseph Smith, ieu., ac yn gorchymyn i Joseph bregethu a gweini i ereill, megys ag y derbyniodd yntau gan yr angel, a'r goleuni a barhaodd i lewyrchu a lledaenu, fel yr oedd ereill yn credu tystiolaeth Joseph; canys hwy a edifarasant am eu pechodau, ac a fedyddiwyd ganddo ef; a thrwy ei fod ef wedi derbyn yr offeiriadaeth santaidd gan yr angylion, efe a gyflwynodd yr un offeiriadaeth i'r credinwyr; a hwythau yn eu tro a aethant allan, gan gyhoeddi yr un efengyl, gweinyddu yr un ordinhadau, galw ar yr holl ffyddloniaid i ymgasglu ynghyd, i adeiladu Seion, hyd nes y mae y goleuni eisoes yn mhedwar ban y byd, ac yn cael ei adlewyrchu yn gyflym yn mysg pob cenedl a phobl; ac hwn, sef yr Efengyl, cynllun iachawdwriaeth, yw y gwir oleuni sydd raid lewyrchu o'r dwyrain i'r gorllewin; hyny yw, i bob cenedl, llwyth, iaith, a phobl, ar y ddaear, cyn y delo y diwedd; a rhaid i'r ffyddloniaid, sef y Saint, gael eu casglu ynghyd i leoedd santaidd, ac i adeiladu Temlau, a chyflawni pob gwaith angenrheidiol er agor ffordd bywyd ac iachawdwriaeth, i'r meirw yn gystal ag i'r byw, cyn y gallant orphen y gwaith a roddwyd iddynt i'w wneuthur yn yr oruchwyliaeth a'r ymbrawf presennol.

Pan fyddo y Saint yn Seion yn hau a medi, ac yn adeiladu, yn ol cynghor, y maent yn achosi i'r goleuni lewyrchu, mor darawiadol, â phe byddent allan yn mysg cenedloedd pellenig, yn pregethu ac yn bedyddio er maddeuant pechodau. Nid yw yr holl bethau angenrheidiol i'w gwneuthur, ond rhanau o'r cyfan mawr, y rhai sydd raid eu gorphen oll cyn bydd dynion yn barod i gael eu hadferu drachefn i bresennoldeb y Tad; a thra yr ydym etto yn cael y fraint bleserus o ohebiaethu â'n cyfeillion gwasgaredig yn mysg y cenedloedd, nis gwyddom pa fodd y gallwn wneuthur hyn gyda mwy o ddyddordeb, a gwneyd ein Hepistol yn fwy gwasanaethgar, na thrwy neillduo rhan at barhad yr hanes o bethau fel y maent ac fel y buont oddiar ein llythyr diweddaf; yr hyn nid yw ond adlewyrchiad o'r goleuni hwnw yn y diwedd a raid oleuo y byd; canys gweithredoedd y cyfiawnion, megys aur ac arian, a meini gwerthfawr, a arosant pan fyddo amser wedi ei draflyncu mewn tragywyddoldeb.

Mae y Rheilffordd o'r Ddinas hon i'r mynydd, wedi ei mesur yn gynnar yn y tymmor, ac yn rhanol wedi ei graddio; ac y mae rhan fawr o'r coed a'r rheiliau ar y tir. Pan ddynesodd y cynauaf, cafodd y gwaith ei attal o eisieu gweithwyr, eithr ailddechreuir ef mor gynnar ag y bo posibl. Mae muriau llawr isaf Neuadd y Degau-a-thrugain ar waith, ac y mae muriau Ysgubor y Degwm wedi eu gorphen; ac hefyd furiau y siopseiri a'r paent, a'r peiriant llyfnu ac hollti, un cant a deugain o

droedfeddi, wrth bump a deugain, ar y Temple Block, yn barotoiadol i adeiladu Teml; er fod yr holl weithiau cyhoeddus wedi eu rhwystro o eisieu coed, defnyddiau, a gweithwyr, ac y mae'r rhwystr wedi ei achlysuri trwy esgeulusdod y mwyrif o'r brodyr i dalu eu degwm, gartref ac oddi cartref. Nid yw wahaniaeth pa le y byddo'r Saint yn byw, gyda golwg ar yr egwyddor hon; eu dyledswydd yw cyssegru y ddegfed ran o'u meddiant, pan ddeuant i'r Eglwys, ac ar ol hyny y ddegfed ran o'u cynnyrch, er cynnorthwyo y gweithiau cyhoeddus, er adeiladu Temlau, a dybenion anghenrheidiol ereill; ac os na ddegymant eu hunain, nid oes ganddynt un hawl i'r bendithion, a'r cynnysgaethiadau a ddylifant i'r ffyddloniaid trwy y cyfrwng hwnw.

Buasai y degfed o'r degwm dyledus oddiwrth y Saint, trwy gael ei dalu yn union, yn ein galluogi ni i amgau y Temple Block, megys y bwriadem, yn barotoiadol er dechreu y Deml mewn tymmor arall; eithr o ddiffyg modd, mae y dernyn tir yn agored, a rhaid i ddechreuad yr adeilad barhau i gael ei oedi. Mae yn bryd fod y Saint yn deall, a dyledswydd yr holl Henuriaid a'r swyddogion, ac yn neillduol y Esgobion, i'w dysgu y Saint, fod talu eu degwm yn ran neillduol o'r gwaith a benodwyd iddynt, trwy yr hwn y maent i sicrhau preswylfa ddyfodol yn y Nefoedd a chwiliant am dani. Er bod yn barod i Nef nefol, y mae arnynt eisieu Teml ddaearol, wedi ei hadeiladu i enw Duw Israel, ac heb y bendithion hyn nis gallant fod yn barod i'r gogoniant mwyaf: a phe llwyddai rhywun i fyned trwy y Deml, a derbyn yr holl fendithion a'r cynnysgaethiadau a gynnygir i rywrai, a bod y person hwnw heb dalu degwm erioed er adeiladu y Deml, neu rywbeth cyhoeddus arall, efe a gai glywed geiriau yr Iesu, "Ewch i mewn trwy y drws, a'r hwn nid yw yn myned i mewn trwy y drws, eithr yn dringo ryw ffordd arall, lleidr ac yspeiliwr yw"; a Thŷ Dduw yw y drws i'r rhai sydd yn cynnorthwyo i'w adeiladu; eithr i'r rhai sydd â chyfleusdra ganddynt, ac ni wnant, y gwirir geiriau Crist iddynt, os ânt i mewn yno; ac o hyn allan, nis gall y rhai byw ddysgwyl bendithion y Deml, oddieithr iddynt gynnorthwyo ei hadeiladu. Nid ydym ni yn prisio am eich degwm, ond yn unig fel y mae yn effeithio ar eich iachawdwriaeth chwi, ac iachawdwriaeth y meirw.

Mae y Cynghor-dŷ wedi ei orphen. Mae Ystordy y Degwm ar y gwaith o gael ei orphen, a bydd yn barod i'w ddefnyddio y gauaf dyfodol, at y gwahanol ddybenion ei bwriadwyd, yn lle siop saer fel hyd yn hyn. Mae sylfaen Tabernacl, ar y Temple Block, yn gant a chwech ar hugain o droedfeddi, wrth bedwar a thrigain, yn agos wedi ei gorphen, a dysgwyliwn y gorphenir yr adeilad yr hydref hwn. Y mae Crochendŷ Deseret mewn gweithrediad llwyddiannus; tynwyd rhai llestri pridd melynion da allan o'r odyn ar y 27ain o Fehefin, a dysgwylir llestri gwynion yn fuan. Meddylir y bydd defnyddiau y Dyffryn at wneyd llestri pridd a *china*, yn gystal ag un lle arall; ac y bydd y crochendy hwn yn fuan yn abl i ddiwallu y farchnad hon. Y

mae eisieu crochanwyr da. Y mae peiriant cribo mewn gwaith, ac yn gwneyd busnes helaeth yn y Dyffryn hwn; ac hefyd y mae un yn Utah, ac ereill bron parod.

Y mae pedair o felinau malu a phump o rai at lifio ar waith, neu ar gael eu cwpla, yn Swydd y Llyn Halen Fawr; hefyd dwy o felinau malu a dwy o felinau llifio yn Swydd Weber; un felin falu a dwy felin lifio yn Swydd Davis; dwy felin falu a thair melin lifio yn Swydd Utah; un felyn falu a dwy felin lifio yn Swydd San Pete; un felin falu ac un felin lifio yn Swydd Iron; ac un felin lifio yn Swydd Tooele; ac y mae dymuniad ac ymdrech cynnyddol i gefnogi gweithfaoedd gartrefol yn ffynu trwy yr holl Diriogaeth.

Yr ydym wedi ymweled â'r gwahanol swyddi a'r sefydliadau yn gyffredinol, y tymmor hwn; ac wedi cael y Saint yn ddiwyd a llwyddiannus, yn ymestyn eu gweithrediadau amaethyddol mor bell ag oedd yn bosibl, a pharotoi ymborth i'r brodyr y rhai sydd yn dyfod yma. Bydd y cynauaf yn doreithiog i'r holl rai a gant achlysur i gyfranogi o hono, er fod llawer o faesydd wedi dyodd-ef oddiwrth y sychder; mae y ffrydiau mynyddig wedi bod yn anarferol o isel y tymmor hwn, a chynnorthwy yn brin yn yr am-ser mwyaf anghenus am dano. Mae cryn eisieu gweithwyr cyn-auaf, ac ychwanegg o beirianau dyrnu, a buasai peirianau o bob math at arbed gwaith, o fawr ddefnyddioldeb yn ein plith.

Rheoleiddiwyd Uchel Gynghor yn Manti, Swydd San Pete, ar y 30ain o Ebrill; ac Isaac Morley yw Patriarch yr estynfa hono o Seion. Y mae sialc, glo caled, halen, a mŵn haiarn, mewn cyflawnder yn ardal Swydd Iron; ac hefyd sylwedd tebyg i glai gwyn, yr hwn a ateba ddyben da, yn lle sebon. Yr ydym wedi penderfynu ar leoedd i ymsefydlu yn Salt Creek, yn Nyffryn Jewab, a Corn Creek, yn Nyffryn Parowan, rhwng yma â Swydd Iron; ac ymadawa cwmnioedd yn union ar ol y Gymmanfa, i ffurfio y sefydliadau hyny.

Dydd genedigaeth y Genedl, y 4ydd o Orphenaf, a dreuliwyd gan ddinasyddion y Dyffryn hwn mewn dull tra gwladgarol, ar lanau y Llyn Halen Fawr, oddeutu pedair milltir ar hugain o'r Ddinas, gyda phob arwydd o lawenydd a gorfoledd a allai ddeill-iaw o galonau pobl ryddion a rhinweddol.

Cadwyd y 24ain o Orphenaf fel Cylchwyl flynyddol dyfodiad y Pioneers i Ddyffryn y Mynyddoedd, ac yr oedd mwy o ddydd-ordeb wedi ei ychwanegu at y gylchwyl hon nag un flaenorol, trwy ymddangosiad y Pioneers yn yr orymdaith, pob un yn dwyn yr offerynau, neu arluniau o'r offerynau, &c., a ddefnyddiwyd ganddynt ar eu taith, ac ar ol eu dyfodiad, hyd at ysgubau ŷd o gynnych eu llafur hwy. Mae coffadwriaeth y dydd hwn yn felys i'r Saint, megys yr oedd y pasg i Israel gynt; ac yr oedd yr amlygiadau o ddiolchgarwch ar y gylchwyl yn bur, rhinwedd-ol, santaidd, a digymmysg.

Mae amryw ddifrodiadau wedi eu cyflawni gan yr Indiaid yn ystod yr haf, y rhan fwyaf yn Nyffryn Tooele, lle y cyfrifir fod

mwy nâ gwerth pum mil o ddolars o dda a cheffylau wedi eu lladrata, a'r rhan fwyaf wedi eu lladd neu eu dinystrio. Yr oedd y dystryw ar feddiant mor fawr, nes yr oedd diddymiad y sefydliad yn ymddangos yn anocheladwy, oni buasai i'r anwariaid gael eu cyfarfod a'u gwrthwynebu; yr hyn a derfynodd mewn marwolaeth un dyn gwyn ac ychydig o Indiaid, yr hyn a osododd attalfa ar ladrad am dymmor. Mae rhai lladradau llai wedi eu cyflawni mewn sefydliadau ereill; er, yn gyffredin, nad oes gan yr Indiaid oddiamgylch y sefydliadau, ddim tuedd na gwroldeb i ymladd â'r sefydlwyr.

Y mae mintai o Indiaid, y rhai ydynt yn byw ar y tir lleidiog rhwng Swydd Iron a San Diego, yn ymddangos yn fwy gelyniaethus yn ddiweddar, a diammau mai hwy a laddasant y brawd Isaac Brown, pan yn dychwelyd o California yr hydref diweddaf. Mae yr Indiaid ar afon St. Mary, wedi cyflawni llawer o ddifrodiadau ar deithwyr y flwyddyn fynedol; ac fel y tybir, lladdasant wyth o ymfudwyr oddeutu cant a hanner o filldiroedd yn ogleddol oddiyma, ychydig o wythnosau yn ol; ac am lythyr-gludiad California, yr hwn a ddysgwylid yma ddeg niwrnod yn ol (Medi 4), nid ydys wedi clywed oddiwrtho etto.

Cyrhaeddodd yr Henuriad Orson Hyde y Dyffryn ar yr 17eg o Awst, yn uniongyrchol o Kanesville, yn nghwmnïaeth yr Henuriad Carrington ac ychydig ereill, y cyfan o ba rai a yspeiliwyd gan yr Indiaid Pawneeaidd. Yn ystod yr ymfudiad mawr o fôr i fôr, trwy y mynyddoedd, derbyniodd yr Indiaid rai camdriniaethau ac anmharch, y rhai a fyddant hwy yn sicr o'u had-dalu; a byddai yn dda i'r Saint ac ereill a gant achlysur i basio trwy y llwythau hyn, fod yn barod i amddiffyn eu hunain.

Dychwelodd Doctor John M. Bernhisel, a'r Anrhyd. A. W. Babbitt, i'r lle hwn ar y 19eg o Orphenaf, yn nghwmnïaeth amryw o swyddogion Llywodraeth yr Unol Daleithiau perthynol i Diriogaeth Utah, yr hon a siartrwyd yn Medi diwedaf; a chan fod y Llywodraeth Gyffredinol yn awr wedi cymmeryd y Diriogaeth hon dan ei gofal, caiff y dinasyddion eu rhyddhau o feichiau, anhawdd eu dwyn mewn gwlad newydd, i'r hon y gorfuwyd hwynt i ymfudo, tra yn amddifad o lawer o gysuron bywyd. Penodwyd Dr. Bernhisel gan Lywydd yr Unol Daleithiau, yn ddirprwywr neillduol, i wneyd defnydd o'r pum mil dolars a roddwyd gan Congress, er prynu Llyfr-gell er mwyn Utah; yr hon swm a ddefnyddiodd wrth ddewis llyfrau yn y dinasoedd dwyreiniol, yn ystod y gauaf diweddaf, ac y mae'r Llyfrgell yn awr ar y ffordd i'r lle hwn. Mae amryw foneddigion yn y Taleithiau, ar gais y Doctor, wedi rhoddi llyfrau, cyhoeddiadau, pamphletau, mapiau, a phapyrau, y rhai a ychwanegant yn fawr at werth a defnyddioldeb Llyfr-gell Utah, ac a gynhyrfant ein diolchgarwch gwresocaf ninnau. Etholwyd Dr. Bernhisel yn unfrydol yn gynnrychiolwr i Congress, gan y Diriogaeth, ar y 4ydd o Awst, ac ar y 1af o Fedi, ymadawodd gyda'r llythyr-gerbyd i Ddinas Washington; yr un dydd ag y dechreuwyd rhoddi sylfaen Tŷ Taleithiol, ar Union

Square, yn y ddinas hon, tuag at adeiladu yr hwn y mae Congress wedi rhoddi ugain mil o ddolars.

Diwallir y Dyffryn â phob math o farsiandiaeth ar yr amser presennol; eithr y mae'r hyn a anfonir allan o arian wedi bod yn llawer mwy nâ'r hyn a ddygir i mewn, y flwyddyn fynedol, fel yr ofnir yr arosa llawer o bethau heb eu gwerthu, y rhai a ellid ddefnyddio er mantais, pe buasai y cyfrwng cylchredol perthynol i farchnadoedd pellenig yn meddiant y rhai a chwennychent brynu. Mae shingles yn cael eu gwneuthur mewn cyflawnder yn awr, a chawsent eu defnyddio yn dra chyffredin, pe gellid cael hoelion, eithr ni feddylir y dygir y tymmor hwn, hanner, nac efallai y bedwaredd ran o hoelion shingles a fydd eisieu, i ddiwallu y farchnad; a'r argoel presennol yw y caiff llawer o adeiladau eu rhwystro, cyn y delo tymmor marchnad arall, o eisieu amryw fathau o hoelion. Pe gellid ffurfio cwmni o frodyr yn Lloegr, Cymru, Sweden, neu ryw wlad arall, er dyfod i wneyd haiarn o'r mŵn (mŵn tynol o'r fath oreu), a pheirian-waith at rolio, hollti, a thori hoelion, a gwneyd gwirs, byddai yn un o'r cynnorthwyadau mwyaf, er hwylusu i adeiladu Dyffrynoedd y Mynyddau; a chyfarwyddir yr Henuriaid llywyddol yn y gwledydd hyny i ystyried y peth, a danfon cwmpeini felly gyda'r brys mwyaf.

Mae ysgol dai wedi eu cyfodi yn y dosparthiadau yn gyffredinol, ac y mae ysgolion wedi bod yn agored y tymmor hwn. Mae y Fam-ysgol wedi ei gohirio am ychydig wythnosau, o eisieu ystafell gyfleus; eithr y mae tŷ yn cael ei godi i'r dyben, a chaiff yr ysgol ei hail-ddechreu y gauaf dyfodol. Mae rhan o'r mur oddiamgylch tir y Brif-athrofa wedi ei orphen, ac y mae rhan wedi ei rwystro o eisieu gweithwyr, yr hwn anhawsdra a gyfarfyddwn yn fynych, a'r hwn y gellid ei ochelyd, pe buasai ychydig o ugeiniau o'r miloedd Saint pellenig, yn cyfodi yn enw Duw Israel, a dyfod adref, i'n cynnorthwyo ni i wneuthur yr hyn a ofynir ar ein dwylaw; ac y mae yn gymmaint o ddyledswydd ar y Saint i ymgasglu, ag ydyw ar bechaduriaid i edifarhau a chael eu bedyddio er maddeuant o'u pechodau; a phob Sant na ddaw adref, pan gaffo gyfleusdra, a gystuddir gan y Diafol. A phaham? Os bydd i chwi aros ar dir y gelyn, ar ol i chwi gael cyfleusdra i ddianc, y gelyn hwnw a hona ac a ymarfera awdurdod arnoch; tra y metha eich ffydd, o herwydd i chwi fod yn anufydd i'r cynghor o ymgasglu gyda'r ffyddlawn, i leoedd santaidd, lle y llywydda Sanct Israel yn nghanol ei bobl, a lle y mae gallu Satan yn cael ei ddinystrio, neu ei ddarostwng; gan hyny, os aroswch, ar ol i ffordd gael ei gwneyd er i chwi ddianc, ac i chwi golli eich bywyd, neu fywydau eich teulu, neu eich meddiannau, ar bwy fydd y bai? Ac i bwy fydd y golled? Bydd raid i chwi ei dyoddef.

Mae Seth M. Blair, Ysw., a'r Llywydd Joseph Young, ill dau yn parotoi melinau a gwasgau yn ein Dinas, i'r dyben o dynu allan nodd y betys, llawer o ba rai a godwyd y tymmor hwn; ac er ein bod ni yn dymuno llwyddiant iddynt, ac yn dysgwyl y gwnant lawer er mwyn lleihau prinder y defnydd siwgraidd, at

ddybenion teuluaidd; etto nis gwyddom am un yn ein mysg ag sydd yn ddigon medrus i buro nodd y betys er gwneyd siwgr da; eithr dysgwyliwn y bydd i'r diffyg gwybodaeth hwn gael ei gyflawni yn fuan gan eu profiad, ac hefyd gan ddyfodiad cynnar cwmni o wneuthurwyr o Ffrainc, yn y tymmor nesaf, megys yr hysbysir ni trwy lythyr oddiwrth yr Henuriad Taylor. Hysbysir ni hefyd o'r un man, y daw cwmni mawr o weithyddion gwlan, ar yr un amser, o'r un wlad, gan ddwyn yr holl beiriannau angenrheidiol, a'r defaid goreu, am yr oll o ba rai y mae anghen mawr yma; a gobeithiwn na fydd i ddim rwystro dyfodiad y cwmnïoedd erbyn ein cnydau betys a gwlan nesaf. Y mae gweithfa wlan fechan eisoes yn cael ei chodi yn ein Dyffryn, ac y mae llawer o ddefaid yma, eithr y mae eisieu miloedd yn ychwaneg.

Y mae y treialon i gyffeithio crwyn a gwneyd lledr, hyd yn hyn, wedi bod yn lled ychydig yn y Dyffryn. Mae eisieu llawer o ledr yn y wlad hon, ac y mae miloedd lawer o'r crwyn goreu wedi pydru neu wedi eu hafradu, o eisieu digon o gynnorthwy i adeiladu tanerdai, a throi y crwyn hyny yn lledr. Mae digon o ddefnyddiau at daneru, i gario yn mlaen fusnes helaeth, ac arbed y draul fawr o'i gael o leoedd ereill; a phe buasai rhai o'r brodyr ag ydynt yn daneriaid, yn dyfod, a dilyn eu galwedigaeth yma, derbynient fendith eneidiau lawer. Mae rhai ymdrechiadau yn cael eu gwneuthur yn y fusnes hon yn awr, eithr y mae rhagor o gynnorthwy yn eisieu. Frodyr, y mae'r cynauaf yn fawr, a'r gweithwyr yn ychydig.

Yr ydym wedi gwneyd trefniadau, yn ystod y flwyddyn fynedol, â boneddwr yn Wisconsin, i ddyfod yma i'r dyben o wneuthur papyr. Dywedir ei fod ar y ffordd, a gobeithiwn ei weled ef yma yr hydref hwn.

Y mae llyfrau, papyrau, a phob math o gyfryngau gwybodaeth drwy y wasg, yn anarferol o uchel yn y lle hwn, yr hyn a achosir, i raddau mawr, trwy fod y cludiad mor drwm; eithr fe wellheir hyny i helaethrwydd mawr, pan y gellir troi y carpiau yn y Ddinas yn bapyr. Mae argraff wasg fawr wedi cyrhaedd yn ddiweddar, a phob defnyddiau anghenrheidiol at newyddiadur cyfrifol, ynghyd â'r pethau anghenrheidiol at rwymo llyfrau, yr oll o ba rai a fyddant mewn gweithrediad y gauaf dyfodol.

Mae y Badd-dŷ Twymn wedi bod yn agored i ymwelwyr trwy y tymmor. Gwneir halen ~~rhagorol~~ trwy ferwi tair rhan i un o ddwfr y Llyn. Llosgir calch da yn y Red Bule Kanyon, a chloddir *plaster of Paris* o fewn dwy filltir i'r Ddinas, a defnyddir ef yn y Crochendy, ac at orphen tai. Mae y Saleratus o'r Llyn sydd bedair milltir yn ddwyreiniol o Independence Rock, yn cael ei ddefnyddio yn helaeth yn y Dyffryn, a byddai yn dda i'r Saint ddwyn cymmaint ag a allant pan yn dyfod; a buasai y borax o'r Llyn, yn orllewinol i Independence Rock, o ddefnydd mawr i'n crefftwyr, pe gallent ei gael.

Mae tir porfa yr eglwys, y tu gogleddol i'r Ddinas, wedi ei amgau; ac y mae fferm y tlodion ar y tu gorllewinol i'r Iorddonen, yn agos â chael ei hamgylchynu gan ffos. Mae llawer o dai ac

adeiladau ereill wedi eu codi yn y ddinas a'r wlad, y tymmor hwn, a buasai llawer yn ychwaneg pe gellid cael defnyddiau a gweithwyr.

Cafodd dinasoedd Ogden, Provo, Manti, a Parowan, eu rheoleiddio dan eu gwahanol siarterau,—ac y maent yn cael eu llywodraethu gan gyfraith fwrdeisdrefol. Bu y nosweithiau yn dwymnach nag arferol yn y tri mis diweddaf; gwyntoedd yn fynychach a chryfach nag arferol yn y Dyffryn; ac yr oedd rhew ar y tiroedd isel ar nos yr 28ain o Awst.

Mae mail yr Unol Daleithiau yn gadael Dinas y Llyn Halen Fawr ac Independence, Missouri, ar y cyntaf o bob mis, gan gyfnewid yn Fort Laramie. Hefyd, mae y mail yn gadael Sacramento a'r lle hwn ar y cyntaf o bob mis; ac y mae mail yn cael ei gyfnewid rhwng yma a Dallas yn Oregon unwaith bob dau fis. Mae genym fail wythnosol oddiyno i San Pete, a dau yn wythnosol oddiyno i Brownsville. Mae llythyr-dy wedi ei sefydlu yn Parowan, Swydd Iron, eithr nid oes ffordd mail wedi ei sefydlu etto rhwng Payson a Parowan; er y dysgwyliwn yn ymgynnulliad nesaf y Congress y sefydlir ffordd llythyron oddiyno i San Diego, gan fyned trwy Parowan, yr hon ffordd fydd yn dramwyol holl dymmorau y flwyddyn.

Mae llythyr-dy wedi ei sefydlu yn Honolula, Oahu, Sandwich Islands, a danfonir llythyron wedi eu rhagdalu i San Francisco, bob cyfleusdra. Y mae llythyr oddiwrth yr Henuriad Hiram Clark, Llywydd Cenadiaeth Sandwich, dyddiedig Honolula, Ionawr 27, yn cynnwys ein newyddion diweddaraf o'r ynysoedd hyny. Yr oedd yr Henuriaid Clark a Whittle, yn sefydlog yn Oahu; yr Henuriaid H. W. Bigler, a Thos. Morris, yn Molokai; yr Henuriaid John Dixon a Wm. Farrer, yn Rannai; yr Henuriaid Hawkins a Blackwell, yn Hawaii; a'r Henuriaid Cannon a Keeler, yn Maui; yr oeddynt wedi dechreu ar eu llafur oddeutu yr 20fed o Ragfyr. Y mae llawer o ddynion gwynion ar yr ynysoedd hyny, eithr ni thalant fawr sylw i freintiau crefyddol. Mae y brodorion yn gyffredin yn gallu darllen ac ysgrifenu, ac o dan ddylanwad y Cenadon, cynllun pa rai yw cadw y brodorion yn ddarostyngedig i'w hathrawiaeth hwy trwy ddylanwad personol, a thrwy offerynoliaeth y wasg, yr hon a ddyg allan bapyr wythnosol. Mae tri neu bedwar argraffiad o'r Beibl wedi eu cyhoeddi yn iaith gynhenid Sandwich, yr hyn yn y diwedd a fydd yn fendith i'r bobl hyny. Nid oes dim gohebiaethau neillduol ac uniongyrchol wedi eu derbyn oddiwrth yr Henuriad Addison Pratt, a'r genadiaeth yn Society Isles, oddiar ei ddychweliad yno neu o'r cenadiaethau ereill, yn ac o amgylch y Môr Tawel, er fod newyddion yn hysbysu fod y gwaith yn dra llwyddiannus yn Australia, ac mewn lleoedd ereill yn y cylchoedd hyny.

Trwy y "Star" am y 1af o Orphenaf, deallwn fod 42 o gynnadleddau, yn gynnwysedig o 642 o gangenau, o'r Eglwys yn yr Ynysoedd Prydeinig; a 3874 o henuriaid ac offeiriaid, a mwy na 32,000 o aelodau, a bod yr efengyl yn parhau i ymledaenu, a chredinwyr yn lliosogi yn gyflymach nag erioed. Mae yn agos

i 1000 wedi ymfudo yn y tymmor diweddaf; a chafodd 50 eu bedyddio ar fwrdd y llong Olympus, ar ei mordaith o Liverpool i New Orleans, o dan lywyddiaeth yr Henuriad Wm. Howel. Bu farw yr Henuriad Wm. Burton, o'r ddinas hon, yn Edinburgh, yn Mawrth diweddaf. Hon yw y drydedd marwolaeth yn mhlith yr henuriaid Americanaidd, tra yn yr Ynysoedd Prydeinig. Bu yr Henuriad Flanigan farw yn Birmingham yn flaenorol, a'r Henuriad Barnes rai blynyddoedd yn ol; a'r pedwerydd o'r oll a fu farw ar genadiaethau tramor, yn yr oruchwyliaeth hon, oedd yr Henuriad Hanks, yr hwn a fu farw ar y môr, ar ei fordaith i'r Society Islands, yn y flwyddyn 1843. Mae Cynnadledd Llundain yn rhifo dros 3000, ac yn derbyn mwy nâ 100 bob mis trwy fedydd.

Mae y gwaith yn Italy yn ffynu yn raddol dan Lywyddiaeth yr Henuriad Lorenzo Snow, ac y mae hen draddodiadau oesoedd, yn dechreu rhoi ffordd i adfyfyriad difrifol ac i oleuni y gwirionedd. Mae yr Henuriad Snow yn cyfieithu (os nid wedi gorphen) Llyfr Mormon i'r iaith Italaeg. Mae y Waldensiaid yn dechreu edrych am y gwirionedd, a Switzerland yn ymlawenhau yn y gobaith o fywyd tragywyddol. Mae yr Henuriad John Taylor yn Ffrainc, yn pregethu, ac yn cyfieithu Llyfr Mormon i'r Ffrengaeg, er efallai fod y cyfieithad wedi ei orphen erbyn hyn, ac y mae argoelion gobeithiol yn y wlad hono. Yr Henuriad Erastus Snow a barha yn ei lafur yn Denmark, ac y mae wedi cyfieithu Llyfr Mormon i'r Danaeg; fel ag y mae y llyfr pwysicaf hwnw o bob llyfr i'r genedlaeth hon, yn ddarllenadwy i'r rhan fwyaf o breswylwyr y ddaear, mewn rhyw iaith ag y maent yn gynnefin â hi. Mae gwrthwynebiad mawr wedi ei ddangos tuag at yr efengyl yn Denmark, a gwledydd cyfagos; etto mae y gwirionedd wedi buddugoliaethu, ac a lwyddo etto, a pharha Satan i wrthwynebu, ac ymladd, hyd nes y rhwymir ef; ac y mae'r gwrthwynebiad hwnw yn dda i brofi ffyddlondeb ac onestrwydd y Saint; a dyna ydyw un rheswm paham y mae yn anghenrhaid fod diafol, ie, i brofi dynion, ac amlygu pwy yw y cyfiawnion. Cyflawnir gwyrthiau, iacheir y cleifion, gwneir i'r clofion lamu, ca y tlodion yr efengyl wedi ei phregethu iddynt, ac y mae Duw gyda ei Saint. Mae yr efengyl hon yn ddiweddar wedi myned o Germany i Iceland.

Nid yw yr Eglwys, mewn un amser, er cyhoeddiad yr efengyl yn yr oes hon, wedi bod mewn sefyllfa mwy llwyddianus, nag yn bresennol. Nid yw y Saint mewn un amser wedi bod yn barotach i ddilyn cynghor, a gwneyd y pethau hyny a geisir ganddynt, ac y mae Duw yn eu bendithio o herwydd eu hufydd-dod; ac etto y mae lle i ddiwygiad, ac i gynnyddu mewn pob peth sydd dda; a'r dyn hwnw a wnelo fel y gwyr oreu heddyw, a ddylai barhau i fyw yn yr ymarferiad o ffydd a gwybodaeth, yr hyn a ddwg weithredoedd da, fel y caffo wybod ychwaneg, a bod yn barod i gario y wybodaeth hono i ymarferiad, fel ag i fod yn well a mwy defnyddiol y fory; ac felly yn mlaen, o ddydd i ddydd, hyd nes y byddo yn barod i fyned i bresennoldeb y Tad. Os ewyllysia

dynion fod yn fawr mewn daioni, rhaid iddynt fod yn wybodus, canys ni all dyn wneyd daioni, os na ŵyr pa fodd; am hyny, ceisiwch wybodaeth, ïe, pob gwybodaeth, ac yn neillduol yr hon sydd oddi uchod, yr hon sydd ddoethineb i gyfarwyddo yn mhob peth; ac os cewch rywbeth nad yw Duw yn ei wybod, nid oes eisieu i chwi ddysgu y peth hwnw, eithr ymdrechu gwybod yr hyn y mae Duw yn wybod, a defnyddio y wybodaeth hono megys y mae Duw yn ei defnyddio, ac yna chwi a fyddwch yn debyg iddo; yn gweled megys y'ch gwelir, ac yn adwaen megys y'ch adwaenir; a meddiannwch haelioni, cerwch eich gilydd, a gwnewch ddaioni i'ch gilydd yn wastadol, ac yn dragywydd, ïe, megys ag i chwi eich hunain.

Ond os bydd dyn yn meddu pob gwybodaeth, ac heb ei defnyddio er daioni, profa yn felldith iddo yn lle bendith, megys y gwnaeth i Lusiffer, mab y wawrddydd. Os cynghorir pechadur i edifarhau, a chymmeryd ei fedyddio er maddeuant o'i bechodau, ac heb wneyd hyny, profa yn gondemniad iddo yn lle bendith, ac n's gall dderbyn gosodiad dwylaw yr henuriaid er cael dawn yr Ysbryd Glân. Os cynghorir Sant, yr hwn a dderbyniodd yr Ysbryd Glân, i ymgasglu gyda'r Saint, i ddyfod adref, ac yntau yn esgeuluso dyfod, nid oes ganddo un hawl bellach i'r bendithion a addawir i'r rhai ffyddlawn, y rhai a ufyddhant i'r holl orchymynion; mae ei oleuni yn myned yn dywyllwch, a thra yn aros yn y sefyllfa hon, lle y mae Duw, nis gall efe ddyfod; canys y mae yr ordinhadau yn nhŷ yr Arglwydd, yn Seion, a'i Hestynfeydd, mor anghenrheidiol er iachawdwriaeth gyflawn, ag yw bedydd er iachawdwriaeth ranol: a llais y Bugail da at yr holl Saint, ïe, hyd at eithafoedd y ddaear, yw, "Ymgesglwch ynghyd, deuwch adref;" ac yn fwy neillduol at y Saint yn Pottawatamie, yn yr Unol Daleithiau, Canada, a'r Ynysoedd Prydeinig; "*Deuwch adref! deuwch adref!!*"

O chwi Saint yn yr Unol Daleithiau, a wrandewch chwi ar lais y Bugail da? A ymgesglwch chwi? A fyddwch chwi yn ufydd i'r gorchymynion nefol? Mae llawer o honoch wedi bod yn edrych am, ac yn dysgwyl gormod; buoch yn dysgwyl y deuai yr amser, pan y gallech deithio yn groes i'r mynyddau yn eich cerbydau gwychion, eich wageni rhagorol, a chael pob cysuron bywyd a chwennychai calon; eithr bu eich dysgwyliadau yn ofer, ac os aroswch chwi am y pethau hyny, ni ddeuwch byth; chwi a adewch i'ch ysgerbydau i bydru yn mysg y Cenedloedd, ac ymadawa eich ffydd a'ch gobaith oddiwrthych.

Pa cyhyd y caiff ei ddywedyd mewn gwirionedd, "fod plant y byd hwn yn gallach yn eu cenedlaeth, na phlant y goleuni." Mae rhai o blant y byd wedi croesi y mynyddoedd a'r gwastaddiroedd, o Missouri i California, gyda sypyn ar eu cefn, er addoli eu duw—aur. Mae rhai wedi cyflawni yr un daith gyda berfa droell; a rhai wedi cyflawni yr unrhyw gyda sypyn ar gefn buwch. Mae rhai o'r Saint, ag sydd yn awr yn ein mysg, wedi dyfod yma gyda wageni neu geirt o goed, heb fymryn o haiarn, gan gylchu eu holwynion â hickory, neu groen, neu raffau, ac

wedi cael cystal ac mor ddiogel taith, â neb yn y gwersylloedd, efo eu wageni da haiarn; ac ai ni ellwch chwithau wneyd yr un fath? Gellwch, os oes genych yr un dymuniad, a'r un ffydd. Gallai teuluoedd gychwyn o afon Missouri, gyda gwartheg, llawgeirt, a berfäau troell, gyda ychydig o flawd, heb ddim pethau dianghenrhaid, a dyfod i'r lle hwn yn gyflymach, ac yn llai diflino, nâ thrwy ddilyn nifer o wageni trymion, gyda'u hanifeiliaid i'w rhwystro, y rhai sydd yn rhaid iddynt eu gyru yn fynych filltiroedd i bori. Ai nid ydych chwi yn hoffi y dull hwn o deithio? A ydych chwi yn meddwl fod iachawdwriaeth yn costio gormod? Os felly, nid yw yn werth ei chael. Mae chwiorydd, yn 50 a 60 mlwydd oed, wedi gyru gweddeuau o ychain i'r dyffryn hwn, ac y maent yn fyw ac yn iach etto; mae yn wir y gallent ddyfod yn llawer rhwyddach trwy gerdded wrthynt eu hunain, na thrwy yru gweddau, eithr trwy yru yr ychain yr oeddynt yn helpu ereill yma; ac ai ni ellwch chwi ddyfod y ffordd rwyddaf? Y mae ŷd a darpariadau digonol yn y Dyffrynoedd i chwi ddyfod, ac nid oes achos i chwi ddwyn rhagor nâ digon i'ch cynnal am 100 diwrnod, er sicrhau diwalliant i chwi am yr amser dyfodol; a bydded i'r rhai sydd yn dyfod gyda gweddeuau, a chanddynt fodd, ddwyn hoelion, gwydr, paent, olew, gwirs rhif. 9, hadau osage, orange, a rhai dewisol ereill, ynghyd â'r cyfryw bethau ag sydd yn fwyaf anghenrheidiol mewn gwlad newydd, i gyfnewid â'r brodyr yma am fara; a chychwynwch yn gynnarach nag arferol, ïe, mor fuan ag y gall wageni gael eu dal i fyny ar y prairie, fel ag i ochelyd gwlawogydd y gwanwyn a'r llifogydd, a bod yma i gynnorthwyo yn y cynauaf.

Nac ewch â dim *rubbish* diddefnydd i'r daith, eithr darperwch anifeiliaid ieuainc o'r fath oreu, can belled ag y byddoch yn alluog i ddwyn rhai; a dygwch arian yn lle aur, gan fod newid yn brin, a bod arian yn fwy defnyddiol. Mae y trysorfeydd at ymfudo y tlodion yn cynnyddu yn barhaus, trwy ymdrech y Saint yn y Dyffryn; a dyledswydd y Saint yn y Taleithiau, ac mewn lleoedd ereill, yw ychwanegu at y trysorfeydd hyny yn ol eu gallu. Dychwela yr Henuriad Orson Hyde i Kanesville yr hydref hwn, a bydd iddo wneyd parotoiadau i symud ei deulu i'r lle hwn y tymmor dyfodol. Bydd i'r Henuriad Ezra T. Benson a Jedediah M. Grant fyned i Kanesville, yn union ar ol y Gymmanfa, ac arolygu yr ymfudiad y tymmor dyfodol. Danfonir hwy i'r unig ddyben o wthio y Saint i'r Dyffryn.

Bydd i'r Henuriad Woodruff aros yn y lle hwn yn bresennol; hefyd yr Henuriad Geo. A. Smith, oddieithr fod amgylchiadau yn achosi iddo ddychwelyd i Swydd Iron. Nid oes dim penodol wedi ei glywed am yr Henuriad Parley P. Pratt, Amasa Lyman, a Charles C. Rich, er pan aethant trwy y Llyn Halen Fach y gwanwyn diweddaf; er fod y papyrau yn dweyd eu bod wedi cyrhaedd i California gyda 140 o wageni, a meddylir fod yr Henuriad Pratt yn dilyn ei genadiaeth ar ynysoedd a gororau y Môr Tawel; a bod yr Henuriaid Lyman a Rich yn gwneyd sefydliad yn California, rhwng yma a San Diego, ac yn casglu y

Saint yno, ac y bydd iddynt benodi cenadiaethau i'r henuriaid megys y cyfarwyddir hwy gan yr Ysbryd. Cyfarwyddir hwy hefyd i estyn sefydliadau tuag at Swydd Haiarn, yn mhob pwynt dymunol, mor fuan ag y byddo yn bosibl. Mae yr Henuriad Orson Pratt ar ei ffordd o'r Taleithiau, ynghyd ag oddeutu 500 o wageni, y rhan fwyaf yn Saint, yn ymfudo i'r lle hwn; eithr bu iddynt gychwyn yn rhy ddiweddar, a chael eu rhwystro gan wlawogydd trymion a llifogydd, a bydd yn ddiweddar iawn cyn y byddo y gwersyll diweddaf wedi cyrhaedd.

Trwy ohebiaeth ddiweddar oddiwrth y Llywydd F. D. Richards, o Lloegr, deallwn nad yw yr argoelion o ymfudiad uniongyrchol y brodyr Ewropaidd i San Diego, megys ag y dysgwyliem, mewn un modd yn foddhaol, gan nad oes dim llongau yn myned o Lloegr i'r porthladd hwnw; am hyny, bydd i'r Henuriad Richards barhau i ddanfon y Saint trwy New Orleans i Kanesville, fel o'r blaen, ond bod yn ofalus i'w cychwyn yn gynnarach yn y tymmor, fel y gallant fod yn Pottawatamie mewn pryd i wneyd llawgeirt, a cherdded neu farchogaeth dros y mynyddoedd, yn ol fel y byddo modd ganddynt, cyn syrthio yr eira. Nid yw llawer o'r brodyr a'r chwiorydd Seisnig yn edrych fawr ar gerdded 15 neu 20 milltir i glywed pregethu ar y Sabboth, a dychwelyd adref yn yr hwyr, ac yna sefyll eu gwaith y gweddill o'r wythnos: ac ai ni allant gerdded 20 milltir y dydd, am 50 o ddyddiau, er mwyn myned i dŷ eu Tad, i gartref y Saint, yn Nyffryn y mynyddoedd? Gall fod gweddeuau gan rai, a gwartheg gan ereill; a gallant ladd buffaloes, a chreaduriaid ereill, ar y ffordd, a phan yn flinedig, orphwys diwrnod, os na fydd y Sabbothau yn ddigon hir: ac a allant hwy ddim ymdaraw gystal ag Israel cyntefig, tra yn teithio tua Chanaan? Yr oeddynt hwy yn teithio am 40 mlynedd, eithr gall y Saint gerdded o Kanesville yma mewn dau 40 diwrnod, heb niweidio neb. Yn awr yw yr amser i'r Saint ddyfod, oddieithr y rhai a gynghorir i aros, a phregethu, a chyffelyb; ac nis gall y rhai a ddeuant, gael un amser gwell. Pe dygai rhai o'r Saint gŵn defaid, byddent o wasanaeth mawr yn y Dyffryn, ac y mae eisieu bugeiliaid hefyd.

Bydd i'r Henuriad Richards hefyd ddefnyddio cymmaint o'r drysorfa ymfudol yn ei feddiant, ag a fydd yn anghenrheidiol i ddanfon dwy longaid o'r Saint i Kanesville, lle y dylent fod yn Ebrill, yn barod i ddarparu at eu taith dros y mynyddoedd. Bydded i'ch detholiad gael ei wneuthur mewn doethineb, gan gadw golwg ar y rhai sydd yn ffyddlawn, ac wedi dwyn y beichiau yn ngwres y dydd; ac hefyd, i raddau, ar eu galwedigaethau neu eu crefftau, yn ol ein hanghen ni am y gwahanol gelfyddydau, megys ag yr ydym wedi awgrymu, ac yn ol fel y tueddir chwithau gan eich gwybodaeth o'n hamgylchiadau: rhoddwch eu gofal hwy i oruchwylwyr, dynion doeth, y rhai a roddant dal-ysgrifau am bob arian, ac a dderbyniant dal-ysgrifau cyn tirio, oddiwrth bob un, am y swm â pha un y cynnorthwywyd ef gan y trysorfeydd, gydag addewid i dalu yr unrhyw yn ol mor fuan ag y gallo gael modd; a bydded i bob cwmpeini aros gyda'u gilydd, hyd

nes y cyrhaeddant y lle hwn, pan y dywedir wrthynt pa beth i wneuthur.

Na chychwynwch fwy o Saint ar gyfrif Trysorfa y Tlodion, nag a fydd o fodd genych i'w rhoddi i'r dirprwywr mewn gofal, i ddwyn eu gwahanol gwmnioedd yn ddiogel i'r Dyffryn. Ac na fydded i ddim arian fyned i ddwylaw y rhai a gynnorthwyir, eithr bydded i'r holl arian a warir gael eu talu allan gan y dirprwywyr, am y cludiad, yr ymborth, a phob peth ag sydd yn anghenrheidiol; gan gymmeryd tal-ysgrifau am y cyfan, yn mhorthladd New Orleans, ac hefyd yn Kanesville; a bydded i'r holl dal-ysgrifau hyny, a'r arian mewn llaw mewn ychain, gwartheg, neu eiddo arall yn nwylaw y dirprwywyr, neu y cwmni, gael eu dangos yn ein swyddfa ni, yn union ar eu dyfodiad. Dysgwylir i bob un a gynnorthwyir gan y Drysorfa er ymfudo y tlodion, i helpu eu hunain hyd eithaf eu gallu, ac na fyddo neb yn dwyn marsiandiaeth, ar gost fod arall yn cael aros ar ol. Na! bydded i'r hwn sydd ganddo gistau o nwyddau, neu arian, dalu cludiad ei hun, a chynnorthwyer yn unig y rhai na allant gynnorthwyo eu hunain, neu ond mewn rhan; a gall llawer ddarparu pob peth anghenrheidiol ond y tâl am eu cludiad, a llawer, ran o hwnw. Os bydd y rhai a gynnorthwyir gan Drysorfa y Tlodion yn dysgwyl cael teithio mewn cerbydau neu wageni dros y mynyddoedd, bydd y nifer o ellwch chwi ddanfon yn fychan iawn, eithr os bydd ganddynt ffydd i gerdded drwodd, gwna ychydig wageneidiau o ffawd dyrfa yn gysurus, a gellir symud llawer ar ychydig o gost. Mae y trysorfeydd yn awr mewn llaw yn dyfod i fwy na 13,000 o ddolars, wedi eu casglu agos oll yn y Dyffryn, ac os bydd y Saint yn Lloegr a lleoedd ereill mor ddiwyd y flwyddyn ddyfodol, mewn cyfranu i'r Drysorfa, megys y gwnaeth y Saint yma, gellir dysgwyl ymgasgliad mawr i ganlyn.

Dechreuodd Cymmanfa hanner-blynyddol yr Eglwys, yn y Bowery, yn y Ddinas hon, ar y 7fed o Fedi, am 10 yn y boreu, a pharhaodd o ddydd i ddydd, hyd ddydd Gwener, y 10fed o'r mis hwn, pan yr addoedodd hyd y 6fed o Hydref nesaf, i gyfarfod yn yr un lle. Llywyddwyd gan y Llywydd Brigham Young yn ystod y Gymmanfa, yr hon oedd yn gyfansoddedig o gynnulliad mawr o'r Saint, o'r holl sefydliadau: ac yr oedd y gwahanol weithrediadau yn cael eu hynodi gyda theimladau gwresog, mewn pregethu, addysgu, tystiolaethu, ac mewn dal i fyny holl awdurdodau cyffredinol yr Eglwys, fel yr oeddynt yn Ebrill diweddaf, oddieithr fod Lewis Abbott wedi marw, ac Elisha H. Groves wedi symud i Swydd Iron, a William Snow a Winslow Farr yn cael eu penodi i lanw y bylchau yn yr Uchel Gynghor. Appwyntiwyd Nathaniel H. Felt a John Banks, yn Esgobion Llywyddol Teithiol, i deithio yn yr Eglwys, ac yn mhlith y cangenau, gan gynghori yr Esgobion, ac edrych eu bod yn ffyddlawn yn eu galwedigaethau, mewn casglu, degymu, ac achosi iddynt gael eu danfon i'r swyddfa gyffredinol, ac mewn cadw cyfrifon cywir, a'u bod hwythau yn settlo â'r gwahanol esgobion, o bryd i bryd, a danfon mynegiad o hyny at yr Esgob Llywyddol.

Mae E. T. Benson a Jelediah M. Grant wedi eu penodi yn oruchwylwyr i gasglu tlodion, a pharhawyd goruchwyliaeth y Llywydd Orson Hyde. Yr Henuriaid Samuel W. Richards, Willard Snow, Abram O. Smoot, Dorr P. Curtis, a Vinson Shirtliff, a benodwyd ar genadiaethau i'r Ynysoedd Prydeinig, a Daniel Carn i Germany. Derbyniodd y Llywydd John Young genadiaeth i fyned i Ohio, i bregethu yr efengyl, a chasglu y Saint, a'r Henuriad John L. Dunyon i bregethu yr efengyl yn y Taleithiau. Pleidleisiodd y Gymmanfa i gadw y gair doethineb, ac yn neillduol i roddi heibio defnyddio tê, coffi, trewlwch, a dybaco; ac yn y peth hwn yn gystal ag mewn llawer o bethau ereill, mae yr hyn sydd dda i'r Saint yn y mynyddoedd, yn dda i'r Saint mewn lleoedd ereill: a phe byddai i'r holl rai a broffesant fod yn Saint, roddi yr arian a wariant ar foethau, a phethau annoeth i'w defnyddio, er lles y gweithiau cyhoeddus, ni a gaem weled Teml arall i'r Arglwydd yn fuan.

Pleidleisiodd y Gymmanfa hefyd i ddechreu adnewyddu y degymau a'r cyssegriadau: a bod i bob un o'r Saint, o fewn 30 o ddiwrnodau, gyssegru y degfed o'u heiddo, a'r degfed o'r llog neu y cynnyrch byth wed'yn, a bod i'r holl rai na ddegymant eu hunain gael eu tori allan o'r Eglwys.

Mae tân wedi cael ei ennyn ar y ddaear, a phwy sydd yn alluog i'w ddiffodd? Mae goleuni yn llewyrchu, a phwy all ei attal? Mae cenedloedd y ddaear yn ofni ac yn crynu; mae y tân yn llosgi, a'r goleuni yn dysclaerio, eithr ni wyddant hwy pa beth i wneyd o hono. Mae Duw wedi gosod ei law i adferu Israel, ac achub gweddillion Ephraim, eithr nis gwyddant hwy am hyny. Mae y llywodraethau henaf a galluocaf yn cael eu hysgwyd hyd at eu canol, ac ni ŵyr breninoedd yr achos. Mae y ffordd yn cael ei pharotoi yn gyflym i fyned â'r Efengyl i China, Japan, a chenedloedd ereill, y rhai a eisteddant dros oesoedd mewn tywyllwch, ac wedi cadw ffwrdd oddiwrth gelfyddyd nefolaidd, a chwsmeriaeth bellenig; a gwaith y Deuddeg Apostol yw llenwi pob drws agored, a gwthio i'r deheu a'r aswy â chyrn Joseph, hyd nes y teimlo pob calon; ac udganu udgorn iachawdwriaeth, hyd nes y dadseinio pob clust â'r newydd ogoneddus, o fod Duw yn y nefoedd, yr hwn sydd yn llywodraethu tynghed pob dyn, ac yn ewyllysio fod pob dyn yn dyfod i wybodaeth o Iachawdwr croeshoeliedig, a chael ei achub.

Frodyr, gweddiwch drosom! Chwiorydd, gweddiwch drosom! Byddwch ostyngedig, ymbilgar, gwyliadwrus, diwyd, a dyfal-barhaus, yn mhob gair a gweithred dda, ac yn y diwedd chwi a orchfygwch bob drwg, ac a eisteddwch gyda ni yn nheyrnas ein Tad. Henuriaid Israel, dyrchefwch eich lleisiau fel udgyrn, agorwch eich geneuau yn llydain, a chyhoeddwch iachawdwriaeth i holl rai addfwyn y ddaear, a chwi a ddygwch lawer o eneidiau i Seion.

Ein dymuniad ni yw gweled holl aelodau Corwm y Deuddeg Apostol, yn y Gymmanfa Gyffredinol, yn y ddinas hon, ar y 6fed o Ebrill, 1853. A gobeithiwn y bydd y brodyr yn abl i drefnu

achosion eu gwahanol genadiaethau, yn y fath fodd, na fyddo un niwed yn cael ei wneuthur i'r Saint, tra fyddant hwy yn treulio ychydig dymmor gyda ni mewn cynghor. Ac yr ydym yn gweddio ar Dduw, y Tad tragywyddol, i fendithio y Saint, trwy y ddaear, yn enw Iesu Grist. Amen.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
WILLARD RICHARDS.

---

## MYNEGIAD Y CYNNADLEDDAU YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG, AM YR HANNER BLWYDDYN YN DIWEDDU RHAG. 1, 1851.

| *Cynnadleddau.* | *Cang.* | *D.* | *A.* | *Hen.* | *Off.* | *Ath.* | *Di.* | *Tor.* | *Mar.* | *Ymf.* | *Bed.* | *Oll.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Llundain ............ | 69 | 1 | 0 | 227 | 171 | 158 | 86 | 139 | 13 | 4 | 690 | 3729 |
| Manchester ........ | 32 | 1 | 0 | 125 | 187 | 105 | 44 | 140 | 23 | 8 | 255 | 3031 |
| Birmingham ........ | 17 | 2 | 0 | 99 | 102, | 81 | 33 | 124 | 8 | 0 | 195 | 2295 |
| Sheffield ............. | 36 | 2 | 0 | 62 | 131 | 64 | 44 | 164 | 12 | 0 | 93 | 1877 |
| South Conference.... | 28 | 0 | 0 | 43 | 76 | 58 | 46 | 61 | 5 | 0 | 176 | 1257 |
| Liverpool .......... | 10 | 0 | 0 | 49 | 54 | 30 | 19 | 47 | 2 | 2 | 91 | 1125 |
| Bedfordshire ........ | 29 | 2 | 0 | 60 | 60 | 35 | 30 | 38 | 6 | 0 | 72 | 1000 |
| Norwich ............ | 19 | 1 | 0 | 62 | 60 | 35 | 20 | 37 | 1 | 0 | 132 | 911 |
| Herefordshire ...... | 29 | 1 | 0 | 75 | 62 | 49 | 24 | 15 | 2 | 0 | 53 | 907 |
| Cheltenham ........ | 19 | 0 | 0 | 52 | 44 | 36 | 20 | 32 | 5 | 0 | 111 | 902 |
| Bradford ............ | 19 | 0 | 0 | 62 | 70 | 47 | 16 | 28 | 7 | 0 | 80 | 861 |
| Warwickshire ...... | 29 | 1 | 0 | 75 | 56 | 29 | 19 | 36 | 4 | 0 | 32 | 763 |
| Preston ............ | 13 | 0 | 1 | 65 | 46 | 36 | 11 | 75 | 14 | 0 | 79 | 708 |
| Worcestershire ...... | 14 | 0 | 0 | 39 | 37 | 18 | 18 | 20 | 2 | 0 | 30 | 685 |
| Newcastle-on-Tyne .. | 17 | 1 | 1 | 59 | 48 | 17 | 18 | 49 | 15 | 3 | 168 | 632 |
| Staffordshire ........ | 17 | 0 | 2 | 52 | 44 | 29 | 15 | 40 | 4 | 0 | 60 | 561 |
| Southampton ........ | 15 | 0 | 0 | 18 | 24 | 25 | 11 | 30 | 4 | 0 | 115 | 541 |
| Lincolnshire ........ | 19 | 0 | 1 | 32 | 45 | 28 | 11 | 11 | 3 | 11 | 41 | 532 |
| Derbyshire.......... | 13 | 1 | 0 | 31 | 30 | 19 | 8 | 26 | 2 | 0 | 63 | 383 |
| Leicestershire ...... | 9 | 1 | 0 | 23 | 19 | 12 | 10 | 29 | 3 | 0 | 39 | 379 |
| Hull ................ | 6 | 0 | 0 | 19 | 16 | 19 | 4 | 19 | 3 | 0 | 37 | 310 |
| Shropshire .......... | 10 | 1 | 0 | 20 | 15 | 6 | 7 | 22 | 3 | 0 | 52 | 277 |
| Dorsetshire ........ | 6 | 0 | 0 | 7 | 12 | 11 | 10 | 4 | 4 | 0 | 14 | 263 |
| Carlisle ............ | 6 | 0 | 0 | 18 | 9 | 9 | 5 | 5 | 0 | 0 | 13 | 154 |
| Morganwg Ddwyr.... | 32 | 0 | 3 | 243 | 130 | 138 | 97 | 119 | 17 | 0 | 300 | 2572 |
| Sir Fynwy .......... | 18 | 0 | 0 | 90 | 40 | 41 | 41 | 42 | 6 | 0 | 88 | 740 |
| Sir Gaerfyrddin .... | 18 | 0 | 0 | 80 | 22 | 25 | 19 | 19 | 5 | 0 | 28 | 528 |
| Morganwg Orllewinol | 16 | 0 | 0 | 70 | 36 | 31 | 23 | 29 | 4 | 0 | 35 | 486 |
| Sir Frycheiniog...... | 8 | 0 | 0 | 24 | 8 | 14 | 6 | 7 | 1 | 0 | 24 | 158 |
| Sir Benfro .......... | 11 | 0 | 0 | 21 | 11 | 7 | 6 | 15 | 2 | 0 | 19 | 150 |
| Sir Ddinbych........ | 5 | 0 | 0 | 12 | 11 | 7 | 4 | 8 | 0 | 5 | 30 | 127 |
| Sir Aberteifi ...... | 6 | 0 | 0 | 16 | 14 | 4 | 2 | 5 | 2 | 0 | 15 | 126 |
| Sir Fflint.......... | 4 | 0 | 0 | 16 | 10 | 4 | 1 | 9 | 0 | 0 | 4 | 90 |
| Sir Feirionydd ...... | 6 | 0 | 0 | 20 | 3 | 2 | 1 | 6 | 0 | 0 | 9 | 78 |
| Sir Fon............ | 6 | 0 | 0 | 16 | 9 | 4 | 1 | 22 | 0 | 0 | 3 | 77 |
| Penfro Ogleddol .... | 4 | 0 | 0 | 12 | 3 | 3 | 1 | 3 | 0 | 0 | 35 | 56 |
| Dyffryn Conway .... | 3 | 0 | 0 | 9 | 3 | 3 | 2 | 7 | 0 | 0 | 5 | 56 |
| Glasgow ............ | 29 | 1 | 0 | 131 | 95 | 104 | 29 | 48 | 6 | 19 | 154 | 2217 |
| Edinburgh .......... | 14 | 0 | 0 | 35 | 50 | 33 | 17 | 16 | 4 | 2 | 73 | 693 |
| Dundee ............ | 7 | 0 | 0 | 14 | 17 | 18 | 10 | 26 | 3 | 0 | 50 | 381 |
| Belfast ............ | 6 | 0 | 0 | 9 | 8 | 3 | 4 | 5 | 1 | 1 | 35 | 106 |
| Isle of Man ........ | 3 | 0 | 0 | 13 | 8 | 3 | 2 | 1 | 0 | 9 | 6 | 116 |
| Dublin Branch ...... | 1 | 0 | 0 | 4 | 1 | 0 | 1 | 3 | 0 | 1 | 15 | 30 |
| Londonderry etto.... | 1 | 0 | 0 | 2 | 2 | 0 | 1 | 2 | 0 | 0 | 6 | 24 |
| Cyfanswm.... | 679 | 16 | 8 | 2211 | 1899 | 1393 | 797 | 1583 | 196 | 65 | 3625 | 32894 |

ENWAU Y LLYWYDDION.—Eli B. Kelsey, Llundain; C. H. Wheelock, Manchester; I. C. Haight. Birmingham; Lewis Robbins, Sheffield; George Halliday, South Conference; Gland Rodger, Liverpool; John Spiers, Bedfordshire; C. V. Spencer, Norwich; H. W. Church, Herefordshire; J. D. Ross, Cheltenham; R. C. Menzies, Bradford; J. W. Crosby, Warwickshire; J. W. Johnson. Preston; John Lyon, Worcestershire; J. S. Higbee, Newcastle-on Tyne; James F. Bell, Staffordshire; W. C. Dunbar, Southampton; Moses Clawson, Lincolnshire; George Kendall, Derbyshire; Jacob Gates, Leicestershire; J. T. Hardy, Hull; Joseph W. Young, Shropshire; E. Frost, Dorset-hire; J. Carmichael, Carlisle; Thomas Pugh, Morganwg Ddwyreiniol; Thomas Giles, Sir Fynwy; Abednego Jones, Sir Gaerfyrddin; Henry Evans, Morganwg Orllewinol; John Roberts, Sir Frycheiniog; John Price, Sir Benfro; John Parry, Ieu., Sir Ddinbych; John Evans, Sir Aberteifi: William Parry, Sir Fflint; William Richards, Sir Feirionydd; William Simms, Sir Fon: Philip Sykes, Penfro Ogleddol; John Davies, Dyffryn Conway; R. Campbell, Glasgow; James Marsden, Edinburgh; James M'Naughtan, Dundee: Gilbert Clements, Belfast; John Kelly, Isle of Man: E. Sutherland, Dublin Branch: R. G. Frazer, Londonderry.

---

DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU, CANGENAU, AC ERAILL, AM Y CHWARTER YN TERFYNU IONAWR 7, 1852.

*Cynnadleddau.*—Sir Fynwy, £39 16s 2½c; Sir Frycheiniog, £6 2s 8½c; Sir Aberteifi, £5 13s 2c; Sir Gaerfyrddin, £21 4s 2½c; Morganwg Orllewinol, £44 12s 6½c; Sir Fflint, £12 0s 1¾c; Sir Gaernarfon, £16 7s 11¼c; Sir Feirionydd, £6 12s 10c; Sir Ddinbych, £12 0s 11¾c; Sir Benfro, £1 17s 6c; Dyffryn Conwy, £2 4s 3¾c. *Cangenau.*—Dinas, £1 2s 6½c; Llanilltyd, £5 0s 9c; Pontytypridd, £7 16s 9c, Llanfabon, £1 3s 0c; Cwmbach, £3 14s 0c; Pendeulwyn, £1 15s 7½c; Twynyrodyn, £1 13s 3c; Llandaf, £1 19s 3c; Gog, £1 7s 10c; Caerdyf, £10 8s 5½c; Aberdâr, £11 14s 4½c; Dowlais, £4 12s 3c; Hirwaen, £4 11s 1½c; Rymni, £3 18s 6c; Cwmnedd, £1 13s 9½c; Georgetown, £6 19s 7c; Merthyr, £5 13s 8½c; Pendaren, £4 18s 6½c; Pontfaen, £1 19s 2c; Cefn, £1 17s 2c; Ynysgou, 8s 3½c; Eglwysnewydd, £1 0s 11c; Liverpool, £5 0s 7½c; Gwernllwyn, £3 12s 3½c; Ffynon-Tydfil, £5 10s 0½c: Aberaman, £2 14s 8c: Gostwng, 9s 4½c. *Personau.*—David Davies, Clynmil (yn awr Cwmbach), 3s 4c: Joseph Rogers, 2s: D. Edwards, gynt o Tongwyrddlas, 6s 5c: David John, sir Gaerfyrddin, 9s 6c: Jonathan J. Thomas, £1 19s 8½c.—Cyfanswm, £274 9s 4½c. (Y gwallau i'w gwella).

---

TALIADAU O RAG. 25 HYD ION. 7.—Sir Frycheiniog, £1 5s; Morganwg Orllewinol, £1 18s; Sir Feirionydd, 10s: Pontytypridd, £2 5s 6c: Llanfabon, 14s: Cwmbach, £3 12s 10c: Dowlais, £1 11s 8c: Cwmnedd, 6s 7c: Georgetown, £1 19s 10c: Merthyr, £3 10s: Cefn, £1 2s: Ynysgou, 12s 6c: Aberaman, 7s 10c. Cyfanswm, £19 15s 9c.

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 2.] IONAWR 24, 1852. [CYF. IV.

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL

*Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, yr hon a gynnaliwyd yn y Bowery, Dinas y Llyn Halen Fawr, Medi 7, 1851.*

[O'r "Frontier Guardian."]

YN bresennol o'r Brif-lywyddiaeth—Brigham Young, Heber C. Kimball, a Willard Richards. Patriarch—John Smith. O'r Deuddeg Apostol—Orson Hyde, Wilford Woodruff, G. A. Smith, ac E. T. Benson. Llywyddiaeth y Deg-a-thrugain—Joseph Young, B. L. Clapp, J. M. Grant, A. P, Rockwood, H. Herriman, Levi Hancock, a Zera Pulsipher. Llywyddiaeth yr Estynfa—Daniel Spencer, David Fullmer, a Willard Snow. Corwm yr Archoffeiriaid—John Young a Reynolds Cahoon. Uchel Gynghor yr Estynfa. Yr Esgob Llywyddol—Edward Hunter. Ysgrifenydd y Gymmanfa—Thomas Bullock.

Galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Kimball, yr hwn a ddywedodd, os oedd y bobl wedi talu eu degwm, y buasai Ysbryd Duw ar y Gymmanfa hon; ac hysbysodd y brodyr, na dderbyniai neb ei gynnysgaethiad, hyd nes y buasai wedi talu ei ddegwm yn llawn.

Canwyd hymn gan y côr; gweddiwyd gan yr Henuriad Orson Hyde, a chanwyd.

Yna y Llywydd Young a anerchodd y bobl ynghylch gwaith y Gymmanfa, a'r profiad ag oedd y bobl hyn wedi myned trwyddo, a dangosodd fod Mormoniaeth yn gynnwysedig o bob gwybodaeth, pa un bynag ai yn y nef, ar y ddaear, neu yn uffern, ac y parha i chwyldroi y byd hwn, hyd nes y byddo i holl deyrnas-

oedd y ddaear ddyfod yn ddarostyngedig i deyrnas Iesu Grist, a thystiolaethodd fod Joseph Smith yn brophwyd i Dduw, a'i fod yn gystal dyn ag a rodiodd y ddaear erioed.—Gohiriwyd.

Am ddau yn y prydnawn, dechreuwyd trwy ganu a gweddio; yna areithiwyd gan yr Henuriaid E. T. Benson, O. Hyde, G. A. Smith, Wilford Woodruff, Levi Hancock, y Llywydd Young, a Willard Richards, a dygodd pob un dystiolaeth gadarn o waith yr Arglwydd yn y dyddiau diweddaf, a thystiolaethasant hefyd fod Joseph yn brophwyd i Dduw.

Yna gohiriwyd hyd yr 8fed, am 10 yn y boreu.

*Dydd Llun, Medi* 8, deg yn y boreu.—Galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Young; canwyd, yna gweddiwyd gan yr Henuriad Joseph Young, a chanwyd.

Yna y Llywydd Young a gymmeradwyodd i sylw yr Anrhyd. Perry E. Broochus, barnwr yr Uchel-lys dros Diriogaeth Utah; yr hwn a ddiolchodd bobl y diriogaeth am eu llettygarwch a'u caredigrwydd, yn gofalu am dano ef yn ei afiechyd, pan yr oedd yn ddyeithryn. Dygodd dystiolaeth o heddychlonrwydd y trigolion, eu cyfeillgarwch, eu heddwch, a'u cariad tuag at eu gilydd, eu hymostyngiad i'r brawdlysoedd sydd o'u dewisiad eu hunain; a gweddiodd ar Dduw i frysio yr amser y buasai yr holl Unol Daleithiau yn meddu y fath frawdlysoedd ag sydd yn y diriogaeth hon, ac yna dygai heddwch i fynwesau y rhai a fyddent i'w barnu. Efe a ddangosodd ei gasineb a'i ffieiddiad o'r hyn a ddygwyddodd wrth yru Saint y Dyddiau Diweddaf o Missouri ac Illinois. Yna efe a roddodd ddesgrifiad o'r gofadail a fwriedid ei chyfodi er cof am y Cadfridog Washington; a gorphenodd ei araeth trwy ddywedyd y cofiai yn wastadol, gyda ddiolchgarwch a pharch, ei ymweliad â'r Saint yn eu dinas fynyddig.

Dilynwyd ef yn ei sylwadau gan y Llywydd Young, a gollyngwyd y gynnulleidfa trwy weddi gan yr Henuriad Wilford Woodruff.

Am ddau o'r gloch, wedi gorphwys un awr, galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Young; canwyd, ac yna gweddiwyd gan John Young, a chanwyd.

Yna y Llywydd Kimball a gyfododd, er dwyn yn mlaen waith y Gymmanfa, ac a ddygodd gerbron y bobl awdurdodau yr Eglwys, ac a gyflwynodd Brigham Young fel Llywydd Eglwys

Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, trwy yr holl fyd, ac hefyd fel Prophwyd, Gweledydd, a Dadguddiwr; yr hyn a gariwyd yn unfrydol.

Yna cyflwynwyd Heber C. Kimball fel Cynghorwr Blaenaf i'r Llywydd Young, a Willard Richards fel Ail Gynghorwr, y rhai a gymmeradwywyd yn eu swyddi.

John Smith a gymmeradwywyd fel y Patriarch Llywyddol i Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.

Willard Richards a gymmeradwywyd fel Hanesydd yr Eglwys, a Chofnodydd Eglwysig Cyffredinol.

Orson Hyde a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm y Deuddeg Apostol; a Parley P. Pratt, Orson Pratt, Wilford Woodruff, John Taylor, George A. Smith, Amasa Lyman, Ezra T. Benson, Charles C. Rich, Lorenzo Snow, Erastus Snow, a F. D. Richards, a gymmeradwywyd fel aelodau o'r un Corwm.

Daniel Spencer a gymmeradwywyd fel Llywydd yr Estynfa hon o Seion, a David Fullmer a Willard Snow fel ei Gynghorwyr.

Henry G. Sherwood a gymmeradwywyd fel Llywydd yr Uchel Gynghor, ac Eleazer Miller, John Kempton, Heman Hyde, Wm. W. Major, Levi Jackman, Ira Eldridge, John Vance, E. D. Wooley, a John Parry, a gymmeradwywyd fel aelodau o'r cyfryw; a phleidleisiwyd fod Winslow Farr a Wm. Snow i fod yn aelodau o'r corwm hwn.

John Young a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm yr Archoffeiriaid, a Reynolds Cahoon a George B. Wallace fel ei Gynghorwyr.

Joseph Young a gymmeradwywyd fel Prif Lywydd holl Gorwmau y Degau-a-thrugain; a Levi W. Hancock, Henry Herriman, Zera Pulsipher, Albert P. Rockwood, Benjamin L. Clapp, a Jedediah M. Grant, a gymmeradwywyd fel ei Gynghorwyr.

Edward Hunter a gymmeradwywyd fel Esgob Llywyddol yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.

John Nebeker a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm yr Henuriaid, a James H. Smith ac Aaron Sceva fel ei Gynghorwyr.

Joseph Harker a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm y Offeiriaid, a Simeon Houd a Lewis White fel ei Gynghorwyr.

Mc Gee Harris a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm yr Athrawon, a John Vance a Reuben Perkins fel ei Gynghorwyr.

Return R. Hill a ddewiswyd yn Llywydd ar Gorwm y Diaconiaid.

Brigham Young a gymmeradwywyd fel Ymddiriedolwr dros Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, ac Edward Hunter fel Ymddiriedolwr Cynnorthwyol.

D. H. Wells a gymmeradwywyd fel Arolygydd y Gweithiau Cyhoeddus.

Yn nesaf, cyflwynwyd Llywydd a Chynnorthwywyr y Cwmpeini Ymfudol Parhaus, i gasglu y tlodion, pan y cymmeradwywyd Brigham Young fel Llywydd y Cwmpeini crybwylledig; a Heber C. Kimball, W. Richards, W. Woodruff, O. Hyde, G. A. Smith, E. T. Benson, J. M. Grant, D. H. Wells, W. Snow, E. Hunter, D. Spencer, T. Bullock, J. Brown, W. Crosby, A. Lyman, C. C. Rich, L. Young, P. P. Pratt, O. Pratt, ac F. D. Richards, a gymmeradwywyd fel ei gynnorthwywr.

Dywedodd y Llywydd Young, y buasai Esgobion teithiol, i ymweled â'r Esgobion yn eu gwahanol ddosparthiadau, er edrych eu bod yn gwneyd eu dyledswydd; ac os na wnant, symudir hwy o'u lle, a gosodir ereill i mewn; pan yr enwyd Nathaniel H. Felt fel un o'r Esgobion Llywyddol Teithiol, dan yr Esgob Edward Hunter.—Cariwyd.

Enwyd John Banks fel un arall o'r Esgobion teithiol, yr hyn a gariwyd.

Dewiswyd Ezra T. Benson, Jedediah M. Grant, ac Orson Hyde, yn oruchwylwyr y Cwmpeini Ymfudol Parhaus i gasglu y tlodion i'r lle hwn.

Penodwyd Samuel W. Richards, Willard Snow, Abraham O. Smoot, Dorr P. Curtis, a Vincent Shirtliff, i fyned ar genadiaeth i Lloegr.

Penodwyd Daniel Carn i fyned ar genadiaeth i Germany.

Penodwyd John Young i fyned ar genadiaeth i'r Taleithiau i bregethu, a chasglu y Saint.

Penodwyd John L. Dunyon i fyned ar genadiaeth i'r Taleithiau, a phregethu yr Efengyl.

Darllenwyd mynegiad o'r drafodaeth yn Swyddfa y Degwm; hefyd, fynegiad Cwmpeini Trysorfa Ymfudol Barhaus y Tlodion.

Gohirwyd hyd ddeg yn y boreu. Gweddiwyd gan George A. Smith.

*Dydd Mawrth, Medi* 9, deg yn y boreu.—Galwyd y Gym-

manfa drachefn i drefn; canwyd gan y côr, a gweddiwyd gan H. G. Sherwood, a chanwyd eilwaith.

Treuliwyd y boreu gan y Llywydd Young, i bregethu pregeth angladdol ar yr achlysur o farwolaeth y brawd Lewis Abbott; a dilynwyd ef yn ei nodiadau gan yr Henuriad H. G. Sherwood, Levi Gifford, John Young, a H. C. Kimball; ac yna gweddiwyd gan yr Henuriad Hyde.

Am ddau yn y prydnawn, wedi galw y gymmanfa i drefn, a'i dechreu yn y modd arferol,

Y Patriarch John Smith a ddywedodd ei fod ef wedi myned trwy yr holl olygfa o erlidigaethau a terfysgoedd, a llofruddiaethau, oddiar 1832 hyd yn bresennol, gan goffhau y noswaith y lladdwyd Joseph ac Hyrum yn ngharchar Carthage; ac yna galwodd ar y bobl i dalu eu degwm, fel y gellir dywedyd am danom, Da weision, da a ffyddlawn; a chanlynwyd ef mewn sylwadau cyffelyb gan y Llywydd Kimball, Edward Hunter, W. W. Phelps, Isaac Chase, a Zera Pulsipher.

Cyfododd y Patriarch drachefn i lefaru ar y Gair Doethineb, gan annog y brodyr i roi heibio defnyddio tybaco, &c.

Y Llywydd Young a gyfododd i osod y cynnyg, a galwodd ar yr holl chwiorydd a wnaent roi heibio defnyddio tê, coffi, &c., i arwyddo hyny trwy godi deheulaw; eiliwyd a chariwyd.

Ac yna gosododd y cynnyg canlynol, gan alw ar yr holl *boys* ag oedd dan ddeg mlwydd a phedwar ugain, a ymgyfammodent i roi heibio defnyddio tybaco, whisky, a'r holl bethau a grybwyllir yn y Gair Doethineb, i arwyddo hyny yn yr un modd, yr hyn a gariwyd yn unfrydol.

Yna dywedodd y Patriarch, Bydded i'r Arglwydd eich bendithio chwi, a'ch cynnorthwyo i gadw eich holl gyfammodau. Amen.

Y Llywydd Young, yn mhlith pethau ereill, a ddywedodd ei fod yn gwybod am ddaioni y bobl, ac y mae'r Arglwydd yn cyd-ddwyn â'n gwendid. Mae yn rhaid i ni wasanaethu yr Arglwydd, a'r rhai a ânt gyda mi, a gadwant y Gair Doethineb; ac os na wna yr Archoffeiriaid, y Degau a-thrugain, yr Henuriad, ac ereill, wasanaethu yr Arglwydd, ni a'u didolwn hwynt o'r Eglwys. Mi a dynaf y llinell, ac a fynaf wybod pwy sydd dros yr Arglwydd, a phwy nad yw; a'r rhai hyny na chadwant y Gair Doethineb, a doraf allan o'r Eglwys. Yr wyf yn herio pob dyn a benyw: ai nid wyf bob amser wedi eich cynghori yn iawn?

Buasai yn well genyf i chwi fy nryllio yn fodfedd ddarnau, nâ chilio oddiwrth fy nyledswydd, gan mai yr Arglwydd yw fy nghynnorthwywr. Buasai yn well genyf fyw gydag ychydig o ddynion a wasanaethant yr Arglwydd, nâ byw gyda deg mil o ragrithwyr. Yna, efe a annogodd y gwyr a'r gwragedd i beidio byth a chweryla, a gadael pob amrafaelion. Os gwna rhywun gam â chwi, cytunwch ag ef trwy eiriau teg, ond na ewch byth i gyfraith. Bydded i bob pen-teulu gasglu ei deulu ynghyd nos a boreu, a dysgwyl wrth yr Arglwydd, hyd nes y dysclaerio ei ysbryd ef arnoch megys cwmwl; ac yr wyf yn dywedyd wrthych, yn enw Arglwydd Dduw Israel, *Bendithier chwi.*

Gohiriwyd hyd ddydd Mercher, am 10 o'r gloch yn y boreu; a therfynwyd trwy weddi gan George A. Smith.

*Dydd Mercher, Medi* 10, deg yn y boreu.—Galwyd y Gymmanfa i drefn, a dechreuwyd trwy ganu gan y côr.

Gweddiwyd gan y Llywydd Young, a chanwyd.

E. D. Wooley a ddygodd dystiolaeth o waith yr Arglwydd, fod Joseph yn Brophwyd Duw, a bod Brigham yn gystal dyn ag oedd Joseph, a'i fod ef yn gystal dyn â neb a breswyliodd ar y ddaear erioed, &c.

Llefarodd y Llywydd Young ynghylch y Fyddin Formonaidd, a phaham yr aethant i'r daith. Dywedodd Cadfridog Doniphan yn St Louis, "pe buasai ganddo ef un fil o'r *Mormon boys*, yr un fath â'r Fyddin Formonaidd, y gallai wneyd mwy o ddaioni nâ holl filwyr yr Unol Daleithiau ag oedd yno:" yr wyf yn dweyd pe buasai efe yn Formon, efe a gyhuddid o deyrn-fradwriaeth, er fod y Llywodraeth yn dda, a'r Ffurf-lywodraeth cystal ag y gellid ei chyfansoddi.

Yna efe a annogodd yr Esgob Llywyddol settlo â'r Brif Lywyddiaeth, a'r holl Esgobion, a gofyn eu degwm, y degfed o'u holl gyfoeth, o werth eu ffermydd a'u meddianau, a'r hyn oll sydd ganddynt; ac yna edrych fod yr Esgobion yn settlo â phob dyn a'i fod yn talu ei ddegwm, neu nyni a'i hesgymunwn ef o'r Eglwys. Mi a werthaf bob cyfran o'm heiddo, os gellir cael dyn a dâl yr arian, ac a'u gosodaf oll yn nwylaw yr Esgob Hunter, ac mi a ddechreuaf o'r newydd, ac mewn pum mlynedd bendithiai Duw fi nes y byddwn yn gyfoethocach nag un dyn yn y wladwriaeth hon.

Yna efe a alwodd ar y Brif Lywyddiaeth, y Deuddeg Apostol,

yr Archoffeiriaid, y Degau-a-thrigain, a phawb, er gwybod os oeddynt yn foddlawn i wneuthur fel y dywedodd wrthynt, pan y cyfododd pawb eu dwylaw yn uniongyrchol.

Wedi hyny efe a ddyrchafodd ei ddwylaw i fyny, ac â holl alluoedd yr Offeiriadaeth santaidd yn ei feddiant, bendithiodd y Saint yn enw Arglwydd Dduw Israel: a'r holl bobl a waeddasant, Amen.

Ar gynnygiad a wnaed, gohiriwyd y Gymmanfa, hyd y 6fed o Hydref nesaf, am ddeg o'r gloch yn y boreu. Yna gweddiwyd gan y Llywydd H. C. Kimball.

THOMAS BULLOCK, *Ysgrifenydd y Gymmanfa.*

---

## EPISTOL AT Y SAINT YN POTTAWATAMIE.

[O'r "Frontier Guardian."]

*Dinas y Llyn Halen Fawr, Medi* 21, 1851.

ANWYL FRODYR,—Yr ydym yn anfon atoch ein hanwyl frodyr, Ezra T. Benson a Jedediah M. Grant, i'r dyben neillduol o'ch cynghori a'ch cynnorthwyo i ddyfod i'r lle hwn; a dymunwn y rhoddwch ystyriaeth i'w cynghorion yn mhob peth, a dyfod i'r lle hwn gyda hwynt y tymmor nesaf; *ac na fydded i chwi fethu.*

Deuwch oll, chwi swyddogion yn yr Eglwys, a chwithau swyddogion yn y Dalaeth, neu y swydd. Nid oes rhagor o amser i Saint betruso pa gwrs a ddilynant. Buom yn galw ar y Saint yn Pottawatamie o hyd er pan adawsom hwynt, i ddyfod i ffwrdd; eithr y mae rhyw ysbryd gwrthwynebus wedi bod yn gysson, fel pe byddai yn sibrwd, " Aroswch flwyddyn arall, a mynwch well darpariaeth," hyd nes y mae llawer ag oedd â modd i ddyfod yn rhwydd, wedi eu gadael heb ddim ganddynt i ddyfod, megys ag y dywedwyd gan Brophwyd blaenorol, " Os na ymgasgla dyn pan gaffo gyfleusdra, efe a gystuddir gan y Diafol, ei eiddo a ddifrodir, ei deulu a syrthiant trwy afiechyd, a dystryw ac aflwydd a fydd ar ei lwybr; felly y bu gyda rhai o honoch chwi, ac a fydd yn fuan gyda rhagor o honoch, os na wrandewch ar yr alwad hon a dyfod i ffwrdd.

Am ba beth y dysgwyliwch? A oes rhyw esgus da genych dros beidio dyfod? Na! y mae genych oll, gyda'ch gilydd, lawer gwell siawns nag oedd genym ni pan gychwynasom fel *Pioneers* i

chwilio y lle hwn; y mae genych chwi well gweddeuau, a mwy o honynt. Y mae genych gystal ymborth, a mwy o hono; y mae genych gymmaint o nerth corfforol ag oedd genym ninnau i ddyfod; mae ein gwragedd a'n plant ni wedi cerdded yma, ac wedi eu bendithio wrth gerdded yma, ac yn droed-noeth hefyd, ond pan allent yn achlysurol gael croen gan yr Indiaid i wneyd *moccasin*; ac ai ni ellwch chwithau wneyd yr un modd? Gellwch. Ac yr ydym yn dywedyd etto, Deuwch adref! Ac os gellwch gael un wagen a iau o ychain i bum teulu, a phump o wageni ac ychain i gant o eneidiau; neu heb wageni oll, a dim ond gwartheg a lloi wrth eich llaw-geirt, chwi a ellwch ddyfod yma yn fwy cysurus nag y daeth y *Pioneers* yma, y rhai oeddynt heb ddim i ddyfod iddo; tra y bydd genych chwi bob peth; ac hwn yw y lle i'r holl Saint gael eu darparu i Seion, ïe, o bob cenedl; am hyny, yr ydym yn dywedyd etto, *Cyfodwch, a deuwch adref.*

Dychwela yr Henuriad Hyde atoch, gyda'r brodyr Benson a Grant, ac a ddilyna ei alwedigaeth fel arferol; ond na ymddibynwch ormod arno ef, canys y mae ganddo ef ei achosion teuluaidd i'w trafod, a pharotoi i ddwyn ei deulu, a dyfod gyda chwi; ac yr ydym wedi danfon y brodyr Benson a Grant i'ch bendithio chwi, a'ch cynghori, ac i ryddhau y brawd Hyde. Am hyny, yr ydym yn dymuno arnoch, i waghau Pottawatamie, a'r Taleithiau, a bod gyda ni yr hydref nesaf, chwi holl Saint y Goruchaf, a bydd yn dda arnoch, os cedwch yr holl orchymynion.

O chwi Saint, na roddwch eich etifeddiaeth i fod yn waradwydd, ac na werthwch eich diwygiadau yn Pottawatamie i ddyeithriaid am ddim. Na! yn hytrach gwerthwch eich diwygiadau am eu gwerth, neu rhoddwch hwynt yn nwylaw y rhai y cynghorir chwi, er lles y Saint tlodion sydd yn dyfod ar ol, fel cyssegriad er lles y tlodion.

Dydd aberth ydyw, a'r rhai sydd yn barod i aberthu a gwneyd eu dyledswydd, a dyfod adref, gallant gael eu hachub rhag llosgi. Pa mor hir y bydd i'r Saint yn St. Louis, aros lle y maent? Cyfodwch a deuwch gyda Saint Pottawatamie, a chwi a fendithir.

Ydym, eich brodyr yn y cyfammod newydd,

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
WILLARD RICHARDS.

## ANERCHIAD Y LLYWYDD F. D. RICHARDS.

O'r "Millennial Star," Ion. 15, 1852.

BYDD i'r Chwechfed Epistol Cyffredinol, a gynnwysir yn y rhifyn hwn o'r "Star," fod o bwys mawr gan yr holl Saint, nid yn unig o herwydd y cynnwysa hanesion am lwyddiant mawr holl sefydliadau y Saint yn nyffrynoedd y mynyddau, a manau ereill, eithr o herwydd y dangosa fwriadau yr Eglwys yn yr amser dyfodol, gyda golwg ar ei llwyddiant yn Seion, yn gystal ag yn mhlith y Saint gwasgaredig, yn neillduol y rhai hyny yn yr Ynysoedd Prydeinig. Nid yw yr ysbryd dewr, eang, a bywiog a ddangosir yn mhob brawddeg o hono, yn ddim arall ond ysbrydoliaeth yr Ysbryd Glân, yn gwisgo cynghorion ei weison â gallu, er lles ei bobl, ymgasgliad ei etholedigion, a sefydliad Seion. Dedwydd fydd pob un o'r Saint, ar yr ochr hon i'r Môr Werydd, ag a gadwo gyda gwaith Duw, ac a rodio yn y goleuni fel y mae yn parhau i ddysclaerio mewn nerth a gogoniant cynnyddol o Fynydd Seion. Ac yr ydym yn cymmeryd y cyfleusdra presennol i gynghori rhai o'n brodyr i ysgubo ychydig ar eu hamgyffrediadau, yn neillduol y rhai hyny y gorfodir ni i ysgrifenu atynt unwaith, dwywaith, a thairgwaith, cyn y gallwn gael y cydweithrediad neu y wybodaeth a alwn am dani yn gyhoeddus yn y "Star;" er enghraifft, yn mis Mehefin diweddaf, galwasom am enwau a chyfeiriadau gwahanol Drysorwyr y Drysorfa Ymfudol Barhaus yn y Cangenau, ac nid ydym etto wedi eu cael oll; drachefn yr ydym ddwywaith y flwyddyn yn rhybyddio Llywyddion y Cynnadleddau trwy y "Star," i ddanfon i mewn ei mynegiadau hanner-blynyddol ar amser penodedig, yr awr briodol ddiweddaf i'r papyr a'u cynnwysant fyned i'r wasg; eithr yn lle eu derbyn yn brydlawn pan ddelo yr amser, yr ydym yn ddiffygiol o amryw, ac y mae yn rhaid i ni ysgrifenu drachefn, yr hyn sydd yn rhwystro ein busnes ddau ddiwrnod arall; ac yna nid yn anfynych y cawn fynegiad a gynnwysa bethau nad oes eu heisieu, ac ddim yn cynnwys y pethau anghenrheidiol, er fod pob peth gofynol yn cael eu nodi yn y cyfarwyddiadau cyhoeddus. Crybwyllir yr amgylchiadau hyn yn unig fel ychydig o'r enghreifftiau a ddygwyddant yn *rhy fynych.* Dyledswydd pob swyddog yn yr Eglwys trwy yr Ynysoedd Prydeinig, yw mynu gwybod, mor fuan ag y gallo ddarllen y "Star," pa gyfarwyddiadau sydd ynddi yn

dal perthynas â'i swydd ef, ac os bydd rhywbeth nad yw yn eithaf eglur dylai ymofyn yn union â'i Lywydd, a dyfod i iawn ddealltwriaeth o hono, fel y gallo fod yn abl, fel gweinidog cyfiawnder, i gyflawni ei ddyledswyddau yn ffyddlawn i'r Saint, ac nid aros hyd nes y bo galwad disymmwth am gynghor, ac wele, ni fydd ganddo ef un cynghor i'w roddi; mae y cyfryw fel corsenau ysig i'r bobl i rodio â hwynt, ac yn fynych y mae y rhai a orphwysant arnynt yn cael eu trywanu â thristwch. Nis gall y cyfryw byth ddyfod yn golofnau yn Nheml yr Arglwydd. Bydded i'r rhai a wnant eu dyledswyddau tuag at yr Eglwys fel yn ail beth, ac yn fater o gyfleusdra, gael eu symud o'u lleoedd, pa un a fyddont Lywyddion, Ysgrifenwyr, neu Drysorwyr; a phenoder dynion a wnelo hyny o'u calon, fel eu gwaith blaenaf i fawrhau eu swyddi trwy gyflawniad ffyddlawn o'u dyledswyddau. Ar y cyfryw geill pobl Dduw ymorphwys yn ddiogel am gymhorth, a chânt hwynt yn dŵr o nerth mewn awr o gyfyngder, ac fel ffynnonau o ddyfroedd bywiol yn y diffaethwch i ddisychedu y pererin llesg.

Pan fyddo cynghor cyffredinol yn cael ei roddi ynghylch rhywbeth trwy y "Star," dylai y Saint ymofyn â Llywydd eu cangen, os bydd rhywbeth anarferol yn dygwydd yn dal perthynas â'r pwnc; ac os bydd y mater yn rhy ddyrysIyd iddo ef, apelied at Lywydd y gynnadledd; ac os na fydd yntau yn barod i roi ateb, gall ofyn i'r Llywyddiaeth yn Liverpool. Yr ydym yn gwybod yn bur dda trwy brofiad ein hunain am y diffyg hyder a fodola yn meddwl dyn i roddi cynghor ynghylch materion pwysig, pan y gwelo ac y teimlo fod ei gydgreaduriaid yn hongian wrth ei eiriau am fywyd ac iachawdwriaeth; eithr, chwi frodyr y llywyddion, mae hyn yn ol trefn eich galwedigaeth, a gallu eich ordeiniad, fod i chwi ddwyn rhan o'r cyfrifoldeb mawr cyssylltiedig ag adeiladu yr Eglwys, ac ymgasgliad y cyfiawnion; o ganlyniad, na chiliwch oddiwrth eich dyledswydd, eithr ceisiwch yn ddyfal am gynghorion yr Ysbryd, a chewch allan y santeiddir eich geiriau gan Dduw, er lles mwyaf ei bobl, ar ba rai y gelwir chwi i lywyddu; eich ymddiried yn nghyfarwyddiadau yr Ysbryd a gynnydda, hyd nes y byddo ysbryd y dadguddiad mor llawn ynoch, fel na fydd dim a osodir arnoch yn rhy anhawdd i'w gyflawni. Am hyny, safed pob dyn yn ei ran a'i le, a bydded ffyddlawn yn yr oll a gyflwynir iddo, fel y dygo allan ffrwythau canmoliaeth, ac y byddo yn abl i barhau hyd y diwedd.

Fel ag y gwelir wrth yr Epistol Cyffredinol, eithr yn fwy neillduol wrth yr Epistol at y Saint yn Pottawatamie, cynghor neillduol y Brif Lywyddiaeth i'r Saint yn y parth hwnw, ac yn St. Louis, yw i ymadael yn ddioed, a myned i'r Dyffryn; o ganlyniad ni chynghorir neb o'r Saint yn Mhrydain i fyned i America, os na fydd *arian* a *ffydd* ddigonol ganddynt i'w cymmeryd yr holl ffordd i'r Dyffryn yn yr un tymmor. Pob rhai ag sydd ganddynt deuluoedd yn gyssylltiedig â hwynt ar y daith hon, a ddylent gael £20 yr un, pan yn gadael eu cartref leoedd, er sicrhau eu cludiad ben bwygilydd; eithr dynion ieuainc a sengl, os bydd ganddynt £10 i gychwyn, a allant fyned i Pottawatamie, a gweithio eu ffordd drwyodd gyda chwmnïoedd, o'r lle hwnw. Pob personau a theuluoedd a chanddynt £20 yr un, ac yn bwriadu myned y gauaf hwn, a ddylent fod yn barod i gychwyn yn y llong a hwylia yn nechreu Chwefror, fel y gallont gael amser yn y Bluffs i barotoi ychen, wageni, ymborth, &c., erbyn y daith dros y gwastaddiroedd.

Er fod ymfudiad wedi ei agor drachefn ar yr *hen ffordd*, nid yw wedi ei agor ar yr *hen ddull*. Na adawed neb Lloegr ond yn unig y rhai a allant fyned yr *holl ffordd*, naill ai trwy gynnorthwy eu hunain, neu gynnorthwy y Drysorfa Ymfudol. Mae St. Louis yn le afiachus iawn yn yr haf, ac y mae llawer yno ag a allent fod wedi myned yn mlaen, eithr a feddyliasant am aros a pharotoi i fyned yn fwy cysurus, ac y maent naill ai wedi colli eu bywydau, neu rai aelodau o'u teuluoedd; neu, yr hyn sydd waeth fyth, wedi colli yr Ysbryd, a gwadu y ffydd. Mae St. Louis hefyd yn drigfan i lawer, ïe, llawer iawn, o'r rhai sydd wedi myned yn anghymmeradwy o ran y ffydd ar wahanol amserau, y rhai, gan gael eu hunain yn analluog i ymarfer eu drygioni yn mhlith y Saint yn Nauvoo, Winter Quarters, Pottawatamie, a rhai hyd y nod o Loegr, ag a dorwyd allan am eu troseddau tra yn croesi y môr,—ydynt yn naturiol ddigon wedi cyd-ymgyfarfod yn y ddinas hono, hyd nes y mae wedi myned fel ystwc golchion, i dderbyn y gyfran wrthodedig o'r teulu dynol, am ba rai y dywedodd yr Iachawdwr, gan fod wedi colli eu blas, nid oeddynt dda i ddim, ond eu bwrw allan a'u sathru dan draed dynion. O herwydd y rhesymau hyn, ni ddylai y Saint o hyn allan wneyd y lle hwnw yn ymgynnullfan.

Mae y Cynnadleddau Prydeinig wedi cyfranu tua un mil o

bunnau tuag at y Drysorfa Ymfudol Barhaus, oddeutu un rhan o dair o'r hyn ag y mae y Saint yn y Gorllewin wedi roddi; eithr y mae digon, pa fodd bynag, i wneyd dechreuad ag a wna yr holl Saint yn llawen, ac a dafla allan belydr newydd o oleuni a gobaith i'r holl dlodion yn mhlith pobl Dduw. Yn awr yw y dydd i ddewis; yr ydym wedi nodi wrth Lywydd pob Cynnadledd y nifer ag y mae ef i ddewis o'i Gynnadledd, yn ol y swm a gyfranwyd gan yr amrywiol gynnadleddau; a bydd iddynt hwy, yn unol â'n cyfarwyddiadau ni ac ysbryd yr Epistol Cyffredinol, ddewis y rhai sydd ddoethaf i'w danfon, oblegid yr amryw resymau a roddwyd. Na theimled neb yn anghysurus os na ddewisir hwynt yn gyntaf, o herwydd mai ychydig iawn a all fyned y gauaf hwn, gan fod y Drysorfa mor fach. Mor fuan ag y gwnelo y Llywyddion eu dewisiadau, bydd iddynt yn uniongyrchol ddanfon eu henwau, eu hoedran, eu galwedigaethau, eu rhagdaloedd (£1 yr un), a'u henwau wedi eu hysgrifenu yn eglur, i'n swyddfa, a chaiff y pleidiau eu rhybyddio o'r amser y dylent fod yn Liverpool, ynghyd â phob cyfarwyddiadau anghenrheidiol i'r fordaith. Bydded iddo gael ei ddeall yn eglur gan bawb, na ddewisir neb i ymfudo trwy y Drysorfa, oddieithr y cyfryw a roddant rwym-ysgrifau i oruchwyliwr y Cwmpeini yn Liverpool, y bydd iddynt barhau dan ofal y goruchwyliwr a benodir i gymmeryd gofal o'r cwmpeini ymfudol, hyd nes y cyrhaeddant y Dyffryn (oddieithr fod afiechyd neu farwolaeth), ac ar ol iddynt gyrhaedd y Dyffryn, fod i'w hamser a'u llafur fod dan reolaeth y Cwmpeini Ymfudol Parhaus, hyd nes y byddant wedi ad-dalu y Cwmpeini y swm a wariwyd er eu cludo o Loegr i Ddyffryn y Llyn Halen Fawr.

F. D. Richards.

---

## DYFODIAD BRODYR O'R DYFFRYN.

Mae yn hyfryd genym i hysbysu am ddyfodiad yr Henuriaid Samuel W. Richards, Willard Snow, Abram O. Smoot, a Vincent Shurtliff, i'n plith; y maent wedi eu penodi ar genadiaethau i'r Ynysoedd Prydeinig, megys y crybwyllir yn yr Epistol Cyffredinol, a chyrhaeddasant yma ar foreu y 29ain o'r mis diweddaf, mewn iechyd da, oddieithr rhyw ychydig o effaith y môr, ac mewn ysbrydoedd yn llawn o dân yr Arglwydd. Bydd i'r brodyr

hyn dreulio tymmor byr gyda'r amrywiol Henuriaid Americanaidd, a Llywyddion y Cynnadleddau, a thrwyddynt hwy gyrhaedd gwybodaeth o reoleiddiad yr Eglwys yn yr ynysoedd hyn, a'r amryw bethau dyddorawl a phwysig ag sydd yn awr gerbron y Saint; tra ar yr un pryd, trwy eu dylanwad bywiog a'u hymadroddion blasus, bydd iddynt roddi rhinwedd a bywiogrwydd i waith yr Arglwydd yn mhob rhan o'r deyrnas. Bydd i'r brodyr hyn ddysgu i'r Saint yn y wlad hon ysbryd a bwriad yr Eglwys yn y Dyffryn o berthynas i *ymfudiad*, a *degymiad* er adeiladu y DEML. Felly y bendithiant ac a benditbir hwythau gan gymdeithas a gweinyddiadau eu gilydd. Caiff ein brodyr Americanaidd glywed am hynt eu teuluoedd, a gwaith Duw yn Seion, tra y caiff yr holl Saint eu sirioli trwy eu presennoldeb a'u haddysgiadau yn y wlad hon. Bydd iddynt yn fuan dderbyn eu hapwyntiadau i'r maesydd neillduol y cant lafurio ynddynt am yr amser dyfodol.

Mewn perthynas i'r brodyr Americanaidd sydd yn awr yn mhlith y cenedloedd Ewropaidd, dywed y Brif Lywyddiaeth, "Pell fyddo oddiwrthym ni i osod beichiau trymion ar ysgwyddau yr Henuriaid, neu eu caethiwo yn hir ar y tro oddiwrth eu teuluoedd mewn gwledydd tramor, tra mae heddwch yn ffynu, a'r ffordd yn rhydd; eithr y mae'r pellder a'n gwahana yn fawr, ac y mae llawer o amser yn ofynol i deithio y pellder; a chan fod doethineb yn dda i gyfarwyddo, yr ydym yn gadael dychweliad yr Henuriaid Americanaidd sydd yn awr yn Ewrop i gyfarwyddyd yr Ysbryd mewn cynghor â'u gwahanol Lywyddion, yr hyn byddwch gystal â'u hysbysu y cyfleusdra cyntaf."

Wrth yr Henuriaid Americanaidd yn yr Ynysoedd Prydeinig, yr ydym yn cymmeryd y cyfleusdra presennol i grybwyll, ein bod ni, gyda hwythau, wedi penderfynu i lafurio am flwyddyn arall yn y wlad hon; eithr gan fod y wahanran ddiweddaf yn yr Epistol yn bwriadu dychweliad y Deuddeg yn ystod 1852, y mae yn dra dymunol i gynnifer o'r Henuriaid a allant, i aros, fel y cadwer sefydlogrwydd a gallu yn holl waith yr Arglwydd yn yr Ynysoedd hyn, ac yr ydym yn meddu y sicrwydd mwyaf y bydd i'r dyddordeb a deimla ein brodyr yn llwyddiant achos Seion, eu harwain i wneuthur felly gyda phob sirioldeb.

F. D. RICHARDS.

## AT Y LLYWYDDION CYMREIG.

ANWYL FRODYR,—Wedi bod yn dweyd llawer gwaith wrthych ynghylch eich dyledswyddau, mewn perthynas i ddyledion y llyfrau, a phethau ereill, yr wyf yn awr yn cymmeryd hamdden i ysgrifenu atoch o'r newydd. Yr wyf mewn modd neillduol yn galw eich sylw at Epistol y Llywydd F. D. Richards yn y Rhif. 26 o'r UDGORN am y flwyddyn ddiweddaf, mewn perthynas i ddyledion am lyfrau, &c. : y mae yr hyn a lefarir yno yn perthyn i ninnau yn Nghymru, ac yn dàl cyssylltiad â'r llyfrau Cymreig, fel y rhai Seisnig. Mae yn ofynol i bob Cynnadledd a Changen i wneyd eu goreu i glirio y dyled sydd arnynt bob amser, yn neillduol yr amser hwn, pan y mae cymmaint o alwad am arian i argraffu Llyfr Mormon, nid yn unig i'r rhai sydd wedi rhoddi eu henwau yn awr, eithr i'r cannoedd a'u rhoddant etto mewn blynyddau i ddod. Mae Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg wedi dyfod i benderfyniad unfrydol i glirio y cyfan; ac y mae y rhan fwyaf o'r cangenau eisoes wedi clirio y cyfan o'r hen ddyled a'r newydd, ïe, ac y mae y cangenau sydd yn derbyn mwy na neb ereill yn Nghymru, wedi rhoddi esiampl dda, trwy glirio y eu dyled o flaen y lleill. Mae Sir Fynwy hefyd yn meddwl gwneyd yr un fath. Mae rhai yn ymprydio gymmaint ag unwaith bob mis i'r dyben hyn, ac ereill yn trefnu mesurau ereill; a bydded i chwithau, frodyr llywyddol, drefnu yn mhob man y cynlluniau a weloch yn oreu er talu eich dyledion am lyfrau Cymraeg a Seisnig, fel na fyddo llyffetheiriau felly yn rhwystr i waith Duw lwyddo yn eich plith. Os ufyddhewch i'r cynghor hwn, cewch weled bendithion mawr ar eich llafur. Gofalwch hefyd fod yr holl Epistolau o'r Dyffryn, ac oddiwrth y Llywyddiaeth Brydeinig, ynghyd ag oddiwrth Lywyddiaeth Cymru, yn cael eu darllen yn nghyfarfodydd y Saint, fel ag y byddo yr holl Saint yn gwybod eu cynnwysiad, ac fel y derbyniont fywyd adnewyddol trwyddynt. Nis gall un cyfarfod gael ei dreulio yn well, nâ thrwy ddarllen epistolau oddiwrth y Brif Lywyddiaeth, ac ereill, amcan pa rai yw hyfforddi y bobl ynghylch y pethau hyny a berthynant i'w hiachawdwriaeth.

Yr eiddoch yn yr Arglwydd,

W. S. PHILLIPS.

14, Castle St., Merthyr-Tydfil, Ion. 22, 1852.

## YMDDYDDAN RHWNG Y MAB A'I FAM.

*Mab.* Fy mam, fy mam anwyl, rwy'n llawen wrth fyw,
Darostwng a wneuthym i drefn fy Nuw;
Mi ge's fy medyddio yn enw y Mab,
Ufydd-dod a roddais i'w wir ordinhad.

*Mam.* Fy machgen bach anwyl, na fydd yn un ffol,
Ymwrthod â'r Seintiau, a thro yn dy ol;
Fe'th hudwyd, fe'th dwyllwyd, fe'th drochwyd mewn dwr,
Yr hyn nad oedd eisieu, 'rwyf fi'n eithaf siwr.

*Mab.* Fy mam, na rwgnachwch, ond dewch heb nacâd,
Gwnewch roddi ufydd-dod i fedydd ein Tad;
Ei gynghor a bery tra fyddo y byd—
Paham y dirmygwch ei fedydd ef cy'd ?

*Mam.* Fy machgen, ymwrthod â ffyliaid ein byd—
Mi'th godais yn anwyl, mi'th fagais yn glyd ;
Ymwrthod â'r Seintiau, nac aros yn hwy,
Gwna ddod gyda'th riaint i eglwys dy blwy'.

*Mab.* Pa fodd y tywyllwyd eich meddwl mor llwyr?
Agorwch eich llygaid, rhag myn'd yn rhy hwyr;
A chwiliwch yn gywir ysgrythyr ein Duw,
Ac yna cewch weled y fan i ni fyw.

*Mam.* Fy machgen bach anwyl, ymwrthod yn wir
A'r celwydd rhagrithiol sydd 'nawr dros ein tir;
Ymuna yn gywir â sectau ein gwlad,
Y rhai sydd yn credu yn Nuw heb nacâd.

*Mab.* Crediniaeth, medd Iago, o honi ei hun,
Nid oes ynddi allu i achub un dyn,
Heb fod ei gweithredoedd i'w chadw yn fyw,
Ac un o'r rhai cyntaf yw bedydd Mab Duw.

*Mam.* Ffarwel 'nawr, fy machgen, gobeithio 'rwyf fi
Pan gwrddwn tro nesaf, mai nes fyddwn ni.

*Mab.* Dymuno 'rwyf finnau cewch fendith i fyw,
Fel etto y cwrddwn yn ddau Saint i Dduw.

*Hirwaen.* MORGAN EVANS.

## AMRYWIAETHAU, &c.

---

APWYNTIADAU.—Penodir John Parry, Sir Ddinbych, i deithio trwy Gynnadleddau y Gogledd, yn lle y brawd Eliezer Edwards, (yr hwn a ryddhawyd er ymfudo), yn gystal ag i barhau llywyddu Cynnadledd Sir Ddinbych.—Hefyd, penodir Robert Evans, o Liverpool, i lywyddu Cynnadledd Orllewinol Morganwg, yn lle y brawd Henry Evans, yr hwn a ryddhawyd er ymfudo i Seion.

CYMMANFAOEDD Y GOGLEDD.— Cynnelir Cymmanfa Sir Fflint, ar y 15fed o Chwefror; Sir Ddinbych, ar y 22ain; Dyffryn Conwy, ar y 29ain ; Sir Fon, ar y 7fed o Fawrth; a Sir Feirionydd, ar y 14eg.

LLYFR MORMON.—Os oes rhywrai o'n brodyr wedi gweled gwallau yn ein cyfieithad o Lyfr Mormon, dymunwn arnynt ein hysbysu, fel y gallom eu diwygio ar y diwedd.—Daw y rhif. 21 allan gyda'r UDGORN nesaf, yr hwn a werthir am geiniog yr un, ynghyd â phob un ar ei ol.

YR hwn a dderbynia garedigrwydd, ni ddylai fyth ei anghofio; a'r hwn a wna garedigrwydd, ni ddylai fyth ei gofio.

TEILYNGDOD mawr a chlod uchel ydynt fel gwynt cryf a hwyl ledan, y rhai yn fynych a soddant y llestr.

---

TALIADAU O ION. 8 HYD ION. 22.—Sir Fynwy, £18; Sir Frycheiniog, £1 ; Sir Aberteifi, 9s ; Sir Fôn, £1 : Sir Ddinbych, £3; Dyffryn Conway, 15s ; Dinas, 11s; Llanilltyd, £1 9s 6c; Pontytypridd, £7 16s 9c; Llanfabon, 16s 3½c; Cwmbach, £3 14s; Pendeulwyn, £1 15s 7½c; Twynyrodyn, £1 13s 3c; Llandaf, 11s 8c; Caerdyf, £2 4s 6c; Dowlais, £2; Hirwaen, £4 11s 1½c; Rymni, £3; Cwmnedd, 11s 10½c; Georgetown, £6 19s 7c; Merthyr, £4 19s 3c; Pontfaen, 7s ; Cefn, £1 17s 2c ; Eglwysnewydd, 15s 7c; Gwernllwyn, £3 12s 3½c ; Ffynnon-Tydfil, £5 10s 0½c; Aberaman, 15s.—Cyfanswm, £79 15s 6c.

☞ Bydd i ni foddloni ein gohebwyr mor gynted ag y gallom, yn ol eu teilyngdod. Mae pethau ereill yn awr yn llanw ein cyhoeddiad.

☞ Dymunwn annog y dosparthwyr a'r llywyddion am beri i bob ymchwiliad gael ei wneyd ynghylch cyfrifon y llyfrau, fel os bydd camsyniadau, y gellir eu diwygio. Wedi gorphen Llyfr Mormon, bydd i ninnau ail-edrych dros ein llyfrau, a mynu gweled na fyddo dim gwallau yn ein cyfrifon.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 3.] CHWEFROR 7, 1852. [CYF. IV.

### Y MORMONIAID YN UTAH.

[O'r "New York Daily Tribune," Ion. 13, 1852.]

YR ydym wedi cyhoeddi yr hanesion a roddir gan y Barnwyr BROCCHUS a BRANDEBURG a'r Ysgrifenydd HARRIS, yn cyhuddo y Mormoniaid o fradwriaeth yn gystal ag anfoesoldeb, a dwyn rhesymau gerbron paham nad allai y swyddogion hyny aros yn y Diriogaeth. Mae yr hanesion hyn wedi eu gwadu yn bendant gan Mr. BERNHISEL, Cynnrychiolydd Utah, ar lawr y Congress, yr hwn sydd yn herio ac yn hawlio yr ymchwiliad manylaf o'r holl fater, mor bell ag y perthyna i Lywodraeth yr Unol Daleithiau. Yr ydym yn cael hefyd yn y *Republic* erthygl o ochr y Mormoniaid, yr hon a ddeillia o le cyfrifol, a'r hon a gopïwn fel y canlyn:—

"Y newydd o basiad yr ysgrif yn sefydlu y llywodraeth a'r penodiadau o swyddogion, yn llywodyddol a barnol, a gyrhaeddodd Ddinas y Llyn Halen oddeutu Nadolig diweddaf, ac a roesawyd trwy danio cyflegrau, a phob math a ddangosiad arall o lawenydd brwdfrydig. Cymmerodd y Llywodraethwr lw ei swydd yn fuan ar ol hyny, eithr ni reoleiddiwyd y Diriogaeth yn gyflawn cyn mis Awst. Cafodd y 4ydd o Orphenaf ei gadw yn y ddinas gyda rhwysg mawr. Y swyddogion nad oeddynt yn byw yn y Diriogaeth, a gyrhaeddasant gylch-le eu dyledswyddau bythefnos ar ol hyny, oddieithr y Barnwr P. E. Brocchus.

"Cafodd y Swyddogion eu derbyn oll yn barchus a llettygar. Yr oeddynt yn cael eu boddloni gyda sefyllfa sefydliad y Llyn Halen, a'r cysuron ag oedd diwydrwydd ei drigolion wedi gasglu o amgylch iddynt yn eu cartref mynyddig; er hyny, cawsant allan fod y prisiau Californiaidd ag oedd yno, a'r draul o fyw o danynt, yn anghymmesur â maint y gyflog a roddid iddynt gan

yr Unol Daleithiau. Bydd i ddeiseb gael ei danfon i'r Congress yn ystod y gauaf, yn erfyn am ragor o gyflog. Hyd y cyntaf o Fedi diweddaf, y cydgordiad a'r heddwch a ffynai rhwng gwahanol swyddogion y Llywodraeth a'r bobl, a barhaodd heb ei aflonyddu.

"Yr unig hanesion a welais i'r gwrthwyneb, a ymddangosent fod wedi ei sylfaenu oddiar lythyr a gyhoeddwyd yn y papyrau, ac a ddyddiwyd Dinas y Llyn Halen, Medi 20, 1851. Dywed y llythyr hwnw, nid yn unig yr ymddygid tuag at y swyddogion a ddanfonwyd yma gydag oerfelgarwch ac anmharch, eithr fod Llywodraeth yr Unol Daleithiau, ar bob achlysuron cyhoeddus, pa un ai gwladdol neu grefyddol, yn cael ei chyhoeddi yn y modd mwyaf anmharchus, ac yn fynych gyda gogan-eiriau o grynchwerwedd,' ac â rhagddo i grybwyll dwy enghraifft i gadarnhau y dywediad hwn. Yn awr, yr wyf fi yn gwadu fod yr ysgrifenydd y cyfeirir ato, yn bresennol yn yr wyl ar y 4ydd o Orphenaf. Ni chyrhaeddodd y Barnwr Brocchus y Diriogaeth hyd y 17eg o Awst, eithr yr oeddwn i yn bresennol yn yr wyl. Cefais y fraint o wrandaw ar sylwadau y Llywodraethwr Young yn astud, ac am hyny mi a *wn* na wnaeth efe sylwadau niweidiol i wasanaeth cyhoeddus neu gymmeriad personol y diweddar Lywydd Taylor, neu yn wir unrhyw grybwylliad pa bynag yn ei gylch a allaf fi gofio. Mae dywediadau yr ysgrifenydd, o ganlyniad, mor bell â hyny yn anwirioneddol.

"Dywediad arall yw, ddarfod i'r ysgrifenydd, wedi ei awdurdodi gan Gymdeithas Cofadail Washington i fynu iddynt ddarn o fynor, hybysu y Llywodraethwr Young am yr hyn a osodwyd arno, a dangos ei ddymuniad i anerch y bobl ar y pwnc pan yn ymgynnulledig yn eu rhifedi mwyaf; i'r Llywodraethwr, er cydsynio â'i ddymuniad, ar y dydd Llun canlynol, ei '*gyflwyno i sylw yn barchus ac anrhydeddus*, i'r dyben hyny, i gyfarfod o dair mil o bobl; iddo lefaru am ddwy awr, yn mha amser y cafodd ei ffafrio gan sylw astud ei wrandawyr; eithr iddo bryd hyn yn ol ei eiriau ei hun, yn ddamweiniol hyd hyny (fel y tybiai y Mormoniaid) ymosod ar y Llywodraethwr a'r bobl; a therfynodd gyda'r sarhad haerllug, 'os na roddent ddarn o fynor mewn cyflawn gyfeillach â phobl yr Unol Daleithiau fel brodyr a chyd-ddinasyddion, fod yn well iddynt beidio ei roddi oll, eithr ei adael heb ei gloddio yn mynwes ei fynydd gynhenid.' Gellir dychymmygu effaith yr ymddygiad hwn, ac nid oes anghenrheidrwydd i sylwi arno.

"Dywed y llythyr-ysgrifenydd a grybwyllwyd, ddarfod, ar wyl y 24ain o Orphenaf, i areithiwr y diwrnod lefaru yn chwerw am y llwybr a gymmerodd yr Unol Daleithiau tuag at Eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf, wrth gymmeryd byddin o wyr oddiwrthynt at y rhyfel â Mexico, tra ar lenydd y Missouri, yn eu ffoedigaeth oddiwrth y terfysglu yn Nauvoo; fod y Llywodraeth wedi dyfeisio y llwybr mwyaf diffaeth, creulawn, ac anwraidd, er effeithio eu dinystr, eu dymchweliad, a'u llwyr ddiwreiddiad; yn mha amser, hefyd, y Llywodraethwr Young a siaradodd am y Llywydd

Taylor yn y modd mwyaf annheilwng.' Yr wyf etto yn ail-adrodd nad oedd ysgrifenydd y dyfyniad hwn yn bresennol yn yr wyl y cyfeiria ati. Yr oedd deg neu ddeuddeg o areithwyr ar yr achlysur hwnw, a chafodd yr holl ddiwrnod ei dreulio gan eu hareithiau; eithr ni chlywais i y fath iaith ag wyf fi wedi ddyfynu, nac unrhyw un arall a ellid ei gwyrdroi er dangos yr anmharch lleiaf tuag at Lywodraeth yr Unol Daleithiau. Darfu i holl swyddogion y Llywodraeth, ag oedd y pryd hyny yny Diriogaeth, giniawa gyda y Llywodraethwr ar y diwrnod hwnw, Nid wyf fi yn gwybod i un dygwyddiad gymmeryd lle i ddinystrio llawenydd a chymdeithas dda y dydd.

"Drachefn, *ni chymmerodd* y Llywodraeth oddiwrthym ni fyddin o wyr; eithr un o'i swyddogion mwyaf dewr a wnaeth alwad am wirfoddiaid, a Mr. Young a ddywedodd mewn atebiad, 'Chwi a gewch eich byddin ar unwaith, pe byddai iddi fod yn ddosparth o'n henuriaid.' Atebodd mwy nâ phum cant o wyr galluog yn union i'r alwad, gan adael eu gwragedd a'u plant ar y gwastadedd, a phum cant o wageni heb yrwyr, ac a roddasant wasanaeth effeithiol yn y rhyfel â'r Werin-lywodraeth Mexicanaidd."

Yr ydym yn ychwanegu dyfyniad o lythyr a yrwyd gan yr Anrhyd. JOHN WILSON, Goruchwyliwr Indiaidd yn California, at yr Anrhyd. TRUMAN SMITH, o Senedd yr Unol Daleithiau. Darfu i'r Cadfridog Wilson fyned trwy Utah ar ei ffordd i'r Môr Tawel. Mae efe yn mhob ffordd yn ddyn o ymddiried, ac yn dywedyd am y Mormoniaid:—

"Nid wyf erioed wedi bod yn mhlith pobl mwy gweddaidd, difrifol, diwyd, a moesgar, nà'r rhai hyn, ac y mae yn anhygoel pa gymmaint y maent wedi wneuthur yma yn yr anialwch mewn amser mor fyr. Yn y ddinas hon, ag a gynnwys yn awr, fel y credwyf, o bedair i bum mil o drigolion, nid wyf wedi cyfarfod, mewn neb dinasydd gymmaint ag un segurwr, neu berson a edrycha fel torthwr. Mae eu hargoelion am gnydau yn dda, ac y mae ysbryd a bywiogrwydd yn yr oll a welwch, nas gellir cael ei gyffelyb mewn unrhyw ddinas o unrhyw faintioli ag a fuais ynddi, ac mi a ychwanegaf, ddim hyd y nod yn 'Hen Connecticut.'"

Dylai yr uchod fod yn ddigon i gadw y farn gyhoeddus mewn ammheuaeth ar yr holl gwestiwn, ac i rwystro unrhyw weithred fyrbwyll gan y Congress neu yr *Executive*. Mae yn eglur mai yr unig ffordd deg, yw ymchwiliad cyhoeddus, megys yr erfynir gan Mr. Bernhisel, ar ran ei etholwyr. O leiaf, nid oes cysgod o reswm dros y *policy* i ba un, fel yr hysbysir ni, yr ymdrecha y diweddar swyddogion barnol hyn i arwain y Llywodraeth. Paham y dylai y Barnwr Brocchus, neu y Barnwr Brandeburg,

neu yr Ysgrifenydd Harris, na neb arall, gael ei ddanfon yn groes i'r gwastad-diroedd gyda gallu milwraidd i'w gefnogi, fel Proconsul Rhufeinaidd, i esgymuno Brigham Young o'i swydd, ac urddo ei hun yn ei le. Nis gallwn ni gael llinell yn *manifesto* hirfaith y boneddigion hyny ag sydd yn dangos cymhwysderau, moesol, meddyliol, neu filwraidd, ag a addasai yr un neu yr oll o honynt i'r fath ryfel-gyrch, heb ddywedyd dim am y tasg caletach o heddychu y Diriogaeth ar ol iddynt hwy ei gorchfygu; yn wir, wrth farnu oddiwrth eu dywediadau hwy eu hunain yn unig, dylem ddywedyd, eu bod, un ac oll, yn hynod anaddas hyd y nod i'r dyledswyddau ag y maent yn awr wedi gweled yn dda i ffoi rhagddynt, ac y buasai y gwasanaeth cyhoeddus yn gyffredinol yn cael ei leshau trwy eu bod yn parhau mewn cyflwr o ymneillduedd.

Ond a thybied nad yw Mormoniaid Utah yn wladgarol tuag at y Lywodraeth Gyfundodol, ac ddim am iddi gymmeryd un trafferth ynghylch eu hachosion hwy—yr hyn y mae eu Cynnrychiolwr yn hollol wadu, ac y mae'r ffaith o fod ganddynt Gynnrychiolwr yn ymddangos fel pe yn cadarnhau y gwadiad,—yr ydym yn ammau nad oes dim yn y cyfan i gyfiawnhau y gost a'r gwastraff o ymgyrch arfog i'w darostwng. Ni aflonyddir heddwch a rheolaeth dda y wlad trwy iddynt gael llywodraethu eu hunain, fel y dewisont; mae y nwyddau tramor a ddefnyddiant yn pasio trwy borthladdoedd y Werin-lywodraeth, ac yn talu eu rhan tuag at y cyllid, a rhaid iddynt barhau gwneuthur felly. Gadawer i'r Mormoniaid, ynte, ffurfio cydwladoldeb hollol ar wahan os dewisant, a chyhyd ag y dewisant. Yr hyn oll a fuasai yn anghenrheidiol yn yr achos hwnw fyddai Goruchwyliwr yn Ninas y Llyn Halen, i edrych ar ol llesiant teithwyr, ac ni fuasai ar ddyn o'r iawn fath anghen unrhyw allu milwraidd i'w gynnorthwyo yn y swydd hono. Buasai yn llawer gwell i ddileu y weithred at reoleiddio y Diriogaeth, a phenodi Goruchwyliwr felly, nâ danfon byddin allan i gospi Mr. Young am areithiau terfysglyd, a chyflawni swydd heddgeidwaid dros y bobl yn gyffredinol.

Mae hyn, meddwn, yn anfeidrol well nâ'r ymyraeth filwraidd y mae rhai pleidiau yn ei annog. Eithr nid ymddengys fod y Mormoniaid yn chwennych ymwahanu oddiwrthym, ac os nad ydynt, dylent gael aros ac ymddwyn tuag atynt yn deg, yn unol â Ffurflywodraeth a chyfreithiau yr Undeb.

## Y "GAIR O DDOETHINEB."

Nid ydym ni hyd yma wedi hysbysu yr oll o'n barn ynghylch y Gair o Ddoethineb, yn yr Udgorn, er fod hyny wedi bod ar ein meddwl laweroedd o weithiau. Mae yn dda genym yn awr am gael y cyfleusdra, canys er ein bod wedi dywedyd llawer wrth ein brodyr yn Merthyr, am dano etto teimlwn i lefaru wrth yr holl Saint trwy Gymru. Yr oeddym, er pan ddeallasom gyntaf rywbeth ynghylch y Gair o Ddoethineb, yn ei ystyried yn beth o bwys i'r holl Saint ei gymmeryd dan eu sylw, ac ymddwyn tuag ato yn gyfatebol i'w barn: ond er pan welsom yr hyn a ddywedodd y Llywydd Young am dano, yn hanes y Gymmanfa Gyffredinol, ystyriwn ef yn beth mwy pwysig fyth, ac mai goreu i gyd pa gyntaf yr ymosodo yr holl Saint ar ei gadw. Gallwn ddweyd am danom ein hunain, ein bod wedi ei gadw, yn ol ein gwybodaeth, oddiar pan gawsom yr eglurhad cyntaf arno; ac yn bresennol gallwn ddweyd ein bod wedi derbyn lleshad mawr trwyddo; ie, gallwn dystio ein bod wedi derbyn iechyd anarferol yn yr ymarferiad o hono. Yr oeddym wedi credu yn y dechreu fod y Gair o Ddoethineb o Dduw, ac am hyny fod yn dda i bob dyn ei gadw, fel pob gair arall o'i eiddo, pa un bynag ai fel gorchymyn neu fel cynghor. Yn wir, nis gwelwn ni fod llawer o wahaniaeth rhwng cynghor a gorchymyn: pe ufyddhäai pawb i gynghor, ni fuasai eisieu eu gorchymyn. Cynghor i blentyn a dry yn fynych yn orchymyn i wr, o herwydd anufydd-dod. Cafodd yr Eglwys y Gair o Ddoethineb yn ei mabandod, fel cynghor; eithr yn awr, pan yn fwy nag un-ar-hugain oed, nid rhyfedd os yw ar gael gorchymyn yn ei gylch. Ond os caiff orchymyn yn ei gylch, ni fydd yn gaethach na gorchymynion ereill; a dylai pob gorchymyn gael yr unrhyw barch.

Y mae yn ddyledswydd ar bawb yn yr Eglwys hon i gadw y Gair o Ddoethineb, ac y mae yn ddyledswydd ar bob swyddog, o'r apostol i lawr at y diacon, i'w ddysgu. Y mae cadw y Gair o Ddoethineb yn anghenrheidiol er ein hiachawdwriaeth, os ydym am gael iachawdwriaeth drwyadl; ac nis gwyddom ni pa fath iachawdwriaeth a gaiff y rhai na fynant gadw cynghor Duw yn y peth hwn. Buasem ni yn rhoddi esiampl i'w gadw yn gynt, pe buasem yn gwybod mai "*hot drinks*" oedd tê, coffi, cocoa, &c.; eithr meddyliem ni o hyd mai gwirodydd poethion a feddylid, yn

lle "diodydd twymnion." Yn awr, y mae yfed pob math o wlybyroedd twymn yn niweidiol iawn i'r cylla, ac yn ei anaddasu yn fawr i dreulio y bwyd i'r corff; am hyny, dylid ymwrthod â hwynt yn llwyr, ac yfed dwfr glân neu laeth, &c., yn eu lle. Nid oes achos dwyn rhesymau yn bresennol i bobl sydd yn credu mai Duw sydd wedi dadguddio y pethau y dylai ei bobl eu gochelyd. Digon yw dywedyd, Byddwch yn gysson â chwi eich hunain, ac nac ofnwch ddangos hyny i neb. Mae Duw gyda y bobl hyny sydd yn glynu wrth ei air, ac yn eu bendithio yn ngolwg pawb.

Ychydig iawn o'r Saint sydd na addefant y dylent gadw y Gair o Ddoethineb, eithr peidia llawer ei gadw o herwydd rhyw wagresymau a ddysgant gan eu gilydd. Dywed rhai y dylent gymmeryd yr hyn a osodir ger eu bron, fel yr arferai yr apostol Paul wneuthur, eithr esgus gwael iawn yw hyny; nid yw yn debyg i Paul gymmeryd dim ag oedd yn niweidiol i'w gyfansoddiad, serch ei fod yn cymmeryd yr hyn a osodid ger ei fron. Nid oedd y mwyrif o'r pethau a waherddir yn awr, mewn arferiad y pryd hwnw, ac nid yw yn debyg ei fod yn eu defnyddio erioed, na'i fod yn gwybod dim am danynt. Nid yw yn debyg y bwytäai Paul wenwyn, yn wybodus, mwy nag y bwytäai geryg; a chystal fuasai cymmeryd y pethau hyny, er treio dilyn Paul, â phe buasem yn yfed "diodydd twymnion nad ydynt i'r corff na'r bola." Etto, dyweda ereill, nad oes modd teithio heb dori y Gair o Ddoethineb. Ymddibyna hyny i gyd ar y teithiwr: os gall Dirwestwr deithio, mae yn ddiddadl y gall Saint deithio, o leiaf fe allwn ni; ac ar ein taith ddiweddaf o wythnos yn mhlith y byd, ni welsom un rhwystr i gadw y Gair o Ddoethineb. Etto, y mae ambell i henuriad teithiol a ddywed ei fod ef yn cymmeryd yr hyn a osodir gan ei fron yn mhlith y byd, er mwyn peidio gosod rhwystr ar eu ffordd; ond, clyw, frawd, tro i dud. 217 o'th "Ath. a Chyf.," a darllen a ganlyn :—"Wele, yn wir, fel hyn y dywed yr Arglwydd wrthych chwi, mewn canlyniad i'r drygioni a'r bwriadau ag ydynt ac a fyddant yn bodoli yn nghalonau dynion bradwrus yn y dyddiau diweddaf, yr wyf yn eich rhybyddio chwi, a'ch rhag-rybyddio, trwy roddi i chwi y gair hwn o ddoethineb trwy ddadguddiad," &c. Yn awr, hwyrach, pan fydd yr henuriad teithiol wedi bod yn llefaru ynghylch yr arwyddion a ganlynant, y bydd "dynion bradwrus" yn ei gymmeryd i gael dysglaid

o dê gwenwynig, er cael gweled os bydd fyw wedi yfed peth marwol yn ei anwybodaeth! Yn mysg y byd, ynte, feddyliem ni, y dylai y Saint fod yn fwyaf gofalus i gadw gair Duw; a meddyliwn fod mwy perygl o beidio cadw y Gair o Ddoethineb yn y wlad hon, nag hyd y nod yn Ninas y Llyn Halen, gan mai nid yno y mae ein gelynion, eithr yma. Os na fydd dyn yn cadw gair Duw, ac yn dygwydd cael ei wenwyno mewn gwirodydd, cwrw, tê, coffi, &c., nis gall ddysgwyl cael ei arbed; ac os bydd rhywun yn cadw gair Duw, ni ddylai ymffrostio a dweyd ei fod *ef* yn ddiogel, o herwydd gall hwnw fyned yn gynt nâ'r llall. Byddwn ddoeth, ac na feiddiwn alluoedd y tywyllwch mewn un dull, rhag i Dduw ganiatâu iddynt ein gorchfygu, er bod yn esiampl i ereill.

Ein bwriad ni yw ymdrechu cadw y Gair o Ddoethineb yn mhob amgylchiad, yn neillduol pan ar gost ein hunain; ac os gwrthodir i ni gwpanaid o ddwfr oer gyda ein hymborth yn rhywle, gwnawn ei fwyta yn sych, a diolchwn Dduw; ac os cymmerir tramgwydd am beth mor lleied, ni fyddwn ni waeth, ac ni fydd y sawl a dramgwyddo ronyn gwell o'i fedyddio, yn ol dim a ddeallwn ni. Er hyny, bwriadwn fod yn ddoeth a diryfyg, a gadael i bawb farnu drostynt eu hunain. Os bydd galwad, byddwn yn barod i ddangos niwed diodydd twymnion trwy brofiad; a gwnawn siarad â'r byd, yn ol dull y byd, ac â'r Saint yn ol dull y Saint; ac os gŵyr rhywun yn well, caiff ein dysgu, os myn. Nid doeth yw dolurio teimladau, eithr argyhoeddi pawb mewn cariad, gan rhoddi esiampl dda o'u blaen, gan ddweyd wrthynt am yr addewidion mawrion a roddir i'r Saint yn y Gair o Ddoethineb, tud. 218 o'r "Ath. a Chyf.:"—"A'r holl saint ag ydynt yn cofio i gadw a gwneuthur yr ymadroddion hyn, ac yn rhodio mewn ufydd-dod i'r gorchymynion, a dderbyniant iechyd yn eu bogail, a mêr i'w hesgyrn, ac a gant afael mewn doethineb a thrysorau mawrion o wybodaeth, sef trysorau cuddiedig; a chant redeg heb diffygio, a rhodio heb lewygu; a myfi, yr Arglwydd, wyf yn rhoddi iddynt addewid, y bydd i'r angel dinystriol fyned heibio iddynt, megys plant Israel, a pheidio eu lladd hwynt. Amen."

Hyderwn weled y Cymry yn enwogi eu hunain yn nheyrnas Dduw, trwy fod yn awyddus i gadw y Gair o Ddoethineb, ynghyd â'r holl orchymynion, fel y derbyniont y bendithion uchod.

## NODIADAU W. GIBSON AR LYFR MORMON.

[Parhad o Gyf. III.]

Yn awr troaf at y darganfyddiadau diweddar a wnaed yn yr America, gan Stephens ac ereill, ac at draddodiadau yr Indiaid eu hunain, fel tystiolaeth gadarnhaol o wirionedd yr hyn bethau a osodwyd eisoes gerbron, ac a gynnwysir yn Llyfr Mormon.

A ganlyn a gymmerwyd allan o waith ar darddiad yr Indiaid Americanaidd, gan C. Colton, a gyhoeddwd ganddo yn Llundain, yn y fl. 1833:—"Honant hwy fod llyfr unwaith yn meddiant eu henafiaid, ac heblaw yr honiad hwn y mae ganddynt draddodiad fod yr Ysbryd Mawr yn arferyd gynt ragfynegi damweiniau dyfodol i'w tadau, ac y byddai yn llywodraethu natur er eu mwyn; fod angylion unwaith yn ymddyddan â hwy; fod yr holl lwythau Indiaidd yn ddisgynyddion o *un* dyn, yr hwn a feddai ddeuddeg o feibion; fod y dyn hwnw yn ddyn nodedig iawn, ac yn dywysog anrhydeddus, a chanddo lywodraethau mawrion; ac y bydd i'r Indiaid, ei ddisgynyddion, adfeddiannu etto yr unrhyw lywodraeth a dylanwad; credant trwy eu traddodiadau, fod ysbryd prophwydoliaeth a gwyrthiol gyfryngiad yn cael ei fwynhau unwaith gan eu henafiaid, ac yr adferir hyny iddynt hwythau etto, ac yr addfeddiannant y llyfr, a'r oll a fu mor hir yn golledig.

Yma, gan hyny, y mae Ephraim wrth derfyn bryniau tragywyddoldeb, lle y daeth ei had yn lliaws o genedloedd; yma yn nghanol y ddaear, y cauwyd ef allan oddiwrth y gweddill o'r hil ddynol am oesau, ac efe a fu fel asyn gwyllt, wrtho ei hun; ac yma y dadguddiodd Duw iddo bethau mawrion ei gyfraith, "ond cyfrifwyd hwy fel peth dyeithr."

Pa mor ardderchog ac eglur yw prophwydoliaethau y Beibl, a pha mor fanwl eu cyflawniad, os credwn yn Llyfr Mormon; a pha mor dywyll a dirgelaidd y rhaid i lawer o honynt aros dros byth i'r rhai a'i gwrthodant. Os cymmerir dau dyst i gadarnhau unrhyw beth, y maent genym yma i'w cael, y naill yn rhoddi prophwydoliaethau, a'r llall y cyflawniad o honynt.

Cyn dyfodiad Llyfr Mormon allan, edrychid yn gyffredin gan ddynion ar yr Indiaid Americanaidd, gyda'r eithriad o ychydig iawn o ysgrifenwyr, eu bod yn genedl anwaraidd, yn gauedig oddiwrth y byd gwareiddiedig, wedi parhau o oes i oes heb wybodaeth am gelfyddydau ac egwyddorion, heb unrhyw foddion i

drosglwyddo i'w holynwyr eu hanes fel pobl, ond trwy eu traddodiadau; ond pan gyhoeddwyd Llyfr Mormon gyntaf, mynegai taw gweddillion Israel, o had Joseph, yw yr Indiaid Americanaidd; a'u bod unwaith yn bobl wareiddiedig; a bod celfyddydau a gwyddorion yn blodeuo yn eu mysg; eu bod unwaith yn meddu gwybodaeth o'r gwir a'r bywiol Dduw; eu bod wedi adeiladu dinasoedd mawrion a chryfion, a'u bod hyd y nod yn nodi y lle y safai rhai o'r dinasoedd hyn unwaith; yr arferent gerfio eu cof-lyfrau ar lafnau o aur a phres, yr hyn a ddygai eu hanes i lawr i'w holynwyr, ac mai yr Aifftaeg ddiwygiedig y gelwid ganddynt hwy yr iaith yr arferent ysgrifenu ynddi, a'u bod yn anadnabyddus i bawb ereill; y doethion a chwarddent am ben hyn o wrthuni, fel ei galwent, gan ryfeddu bod neb yn ddigon ffol i gredu y fath beth. Ond amser a dreiglai yn mlaen, ac o'r diwedd Mr. Stephens a synai'r byd trwy gyhoeddi ei ddarganfyddiadau o adfeilion dinasoedd mawrion a chryfion, temlau mawreddog, a delwau, yn cael eu toi gan arwyddluniau; rhai o honynt a gaed yn gywir yn y fan a nodwyd gan Lyfr Mormon, flynyddoedd yn flaenorol (i'w darganfyddiadau), fel lle y safai gynt ddinasoedd mawrion a chedyrn. Dyma sylwadau Mr. Stephens wrth syllu ar adfeilion Copan, "Nyni a eisteddasom ar ymyl y mur, ac yn ofer yr ymdrechais i geisio amgyffred y dirgelwch a'n hamgylchynai. Pwy oedd y bobl a adeiladasant y ddinas? Yn adfeilion yr Aifft, hyd y nod yn yr hir golledig Petra, y dyeithr a ŵyr hanes y bobl, olion pa rai a erys o'i hamgylch ef. America, medd haneswyr, a boblogwyd gan anwariaid, ond anwariaid erioed ni chodasant yr adeiladau hyn—ni cherfiodd anwariaid erioed mo'r ceryg hyn. Nyni a ofynasom i'r Indiaid, pwy a'u gwnaeth hwynt, a'u hatebiad tywyll hwy oedd, *Quein Sabe*, (pwy a ŵyr)? Nid oedd yno ddim cymdeithasiad yn gyssylltiedig â'r lle, neb o'r adgofion cyffrous hyny a gyssegra Rufain, Athen, a meistres fawr y byd ar wastadedd yr Aifft. Ond saerniaeth, cerfiadaeth, a phaentwaith, a'r holl gelfyddydau a addurnant fywyd, a flodeuasant yn yr orchuddiawl goedwig hon, areithwyr, rhyfelwyr, a llywodwyr, harddwch, uchelfryd, a gogoniant, a fu fyw ac a aethant heibio; ac ni wyddai neb fod y cyfryw bethau wedi bod, neu a allent ddywedyd am eu bodoliaeth fynedol. Llyfrau, cof-ysgrifau gwybodaeth, ydynt yn ddystaw ar y pwnc hwn; y ddinas oedd anghyfanedd." Pa mor gymhwysedig y mae geiriau Isaiah, yn mhen.

xxix, yn cyfeirio atynt, " A thi a ostyngir, o'r ddaear y llef-eri, ac o'r llwch y bydd isel dy leferydd." Yr hanes am y bobl hyn a orphwys yn ysgrifenedig ar yr adfeilion syrthiedig hyn; mae yn llefaru wrth ddynion o'r ddaear; ac a sisiala o'r llwch, ond ni all neb ei ddeall hyd oni ddaw y llyfr seliedig allan, i egluro eu gwreiddyn, eu hanes, a'u cwymp.

Llyfr Mormon yw hanes y bobl hyny. Yn yr ail argraffiad Ewropaidd, yr hwn a ddefnyddiaf ar yr achlysur hwn, tud. 515, dywedir genym am gynbreswylwyr America, yr arferent hwy gerf-io eu cof-lyfrau ar lafnau, ac mai'r iaith a arferent wneuthur hyny, a elwid ganddynt hwy yn Aifftaeg ddiwygiedig, ac nad oedd yn adnabyddus i neb arall.

Gweler tystiolaeth rhai darganfyddiadau diweddar, yn gyfnerth-iad i'r ddau beth hyny; yn gyntaf, er prawf y byddai cynbres-wylwyr America yn cerfio eu cof-lyfrau ar lafnau; darllener tystiolaethau am ddarganfyddiad a wnaed o lafnau ereill gan bobl nad oedd neb o honynt yn perthyn i Eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf, ynghylch un flynedd ar bymtheg ar ol y rhai a ddar-ganfyddwyd gan Joseph Smith.

"At Olygydd y *Times and Seasons*.—Yr ydym ni, dinasyddion Kinderhook, enwau pa rai a gyssylltir isod, yn tystio ac yn sicr-hau, i Mr. M. Wiley, ar y 23ain o Ebrill, 1843, tra yn cloddio mewn moel-glawdd mawr yn y gymmydogaeth hon, gymmeryd allan o'r moel-glawdd dywededig chwech o lafnau pres ar lun cloch, a'r llafnau hyn a ordöid gan hen lythyrenau, yr oeddynt wedi rhydi yn erwin, y rhwymau a'r modrwyau ar y llafnau dy-wededig a aethant yn llwch ar ychydig o wasgiaad ysgafn arnynt. Y llafnau a ddesgrifiwyd uchod a roddasom yn llaw Mr. Sharp, i'r dyben o'u dwyn i Nauvoo.

| | | |
|---|---|---|
| Robert Wiley, | G. W. F, Ward. | Fayette Grub, |
| George Dickenson, | J. R. Sharp, | W. P. Harris. |
| W. Longneker, | J. S. Curtis, | W. Fugate." |

Y *Quincy Whig*, ar ol cofrestru y darganfyddiad hwn, a sylwa' " Y llafnau y cyfeiriwyd atynt uchod a ddangoswyd yn y ddinas hon yr wythnos ddiweddaf, ac yr ydym yn deall eu bod yn awr yn Nauvoo, o dan sylw y prophwyd Mormonaidd, ac os gall Smith ddeongli yr arwyddluniau sydd ar y llafnau, efe a wna fwy tuag at daflu goleuni ar hanesyddiaeth foreuol y cyfandir hwn nag un dyn arall sydd yn awr yn fyw."

A thrachefn, canfyddwn eu hen gof-golofnau wedi eu gordoi ag arwyddluniau. Gan hyny, a ydyw yn afresymol i gredu am y bobl

a allai gerfio eu hanesion ar gof-golofnau, na allent wneyd yr unrhyw ar lafnau o aur a phres; gweler y darganfyddiadan a wnaed, dangosant hwy i ni eu bod yn gwybod defnyddioldeb yr amrywiol feteloedd o ba rai y mae y wlad yn orlawn? Sicr yw mai yn y grediniaeth wrthwynebol y gorweddai yr afresymoldeb; felly y gwelwn fod y darganfyddiadau dilynol yn cadarnhau y rhan yma o dystiolaeth Llyfr Mormon.

A thrachefn, dywedid mai yr Aifftaeg oedd yr iaith a arferent hwy mewn cerfiadau, wedi ei chyfnewid ganddynt hwy, ac a elwid yr Aifftaeg diwygiedig; ac nad oedd neb arall yn ei medri. Yr wyf yn cofio yn dda o gwmpas deng mlynedd yn ol, am y Parch. C. J. Kennedy, yn Scotland, yn defnyddio hyn fel un o'i resymau cryfaf er profi twyll Llyfr Mormon, oblegid y dywedid mai mewn llythyrenau Aifftaidd ei cerfiwyd; ond y darganfyddiadau diweddaf a brofant fod y doethyn hwn yn cyfeiliorni.

Yr wyf yn cymmeryd a ganlyn, allan o'r *Edinburgh Evening Courant*, am Dachwedd 16, 1848; mewn erthygl yno ar y darganfyddiadau yn yr America, yr ysgrifenydd a ddywed:—"Yma sylwn yn unig, pwy bynag a edrycho ar y darluniadau galluog yn llyfr Stephens ar ganolbarth America, a ddealla eu bod yn döedig ag arwyddnodau Aifftaidd a llythyrenau Hamyrataidd cyffelyb i'r rhai a ddarganfuwyd yn ddiweddar yn Neheubarth Arabia, ac a wel ar unwaith fod eu dull a'u llinelliad yr un â'r rhai a feddai y cenedloedd Asiaidd gynt."

A thrachefn, nyni a welwn dystiolaeth Llyfr Mormon mai gwir yw, canys gorfodir dynion i addef mai Aifftaidd yw yr arwyddluniau hyn, etto fyth ni all neb eu darllen.

Na, eu hiaith sydd golledig, eu dinasoedd ydynt anghyfanedd, —eu prophwydi—eu llywodraethwyr—eu gwyliedyddion—a aethant ymaith, a'r weledigaeth, hanes y cwbl sydd lyfr seliedig, geiriau yr hwn a gyflwynwyd i'r dysgedig, ond ni allai ei ddarllen; ac efe a ddywedodd, mae yn seiliedig, a'r llyfr a roddwyd at yr annysgedig, gan ddywedyd darllen hwn; ond efe a ddywed, nid wyf yn ddysgedig; gan hyny, yr Arglwydd a wna waith rhyfedd a syndod, gan wneuthur i'r annysgedig i ddeall a darllen geiriau y llyfr, i beri dyfetha doethineb y doethion a deall y rhai deallus i ymguddio. Pa mor odidog yr ymuna ynghyd dystiolaeth y Bibl, Llyfr Mormon, a'r darganfyddiadau a wneir yn bresennol.

(*I'w barhau.*)

## RHAGOROLDEB CREFYDD Y SAINT AR BOB CREFYDD ARALL YN Y BYD.

PLANT dynion a welaf—crefyddant yn hwylus,
Mewn cannoedd o ddulliau addolant i gyd,
Ac etto mae'r cwbl yn wir anwybodus
O drefn yr Iesu i achub y byd.
Y rhai anwybodus addolant ryw gerfiad
O feini, neu fetel, neu goed hardd eu llun;
Ond *dim* yw eu crefydd, a *gwag* eu dysgwyliad,
Ni feddant alluoedd i achub yr un.

Ond pa'm y trafferthaf i enwi y duwiau,
A nodi'r gwahanol grefyddau i gyd,
Gwnaf sylwi ychydig ar grefydd y Seintiau,
Rhagorach yw hon nâ chrefyddau y byd;
Daeth hon ar y cyntaf, o wlad y goleuni,
I'r rhai pur eu calon ('r efengyl yw hi);
Dadguddiodd pa fodd i hil mewn trueni
I fyw yn dragywyddol mewn mawredd a bri.

Hon gafodd ei dysgu gan Iesu'r Gwaredwr
Pan fu ar y ddaear yn gwisgo ei gnawd;
A hon a ddiarebwyd gan bob rhyw erlidiwr,
A hon ga'dd ei rhoddi bob amser i'r tlawd;
Ië, hon a gyflwynwyd 'n y dyddiau diweddaf,
Ac nid oes un grefydd a wna yn ei lle;
Mae'n anghyfnewidiol a nerthol iawn, meddaf,
Hi roddwyd i Joseph gan angel o'r ne'.

Mae'n llawn o fendithion a roddir o'r nefoedd,
Ei doniau fwynheir gan yr ufydd a mâd;
Ei rhinwedd iachusol a folir gan filoedd,
A'r oll a dderbynir trwy gariad ein Tad:
Ac hefyd ymwared o blith Babiloniaid,
I wlad sy'n dylifo o rinwedd a mêl,
Lle ca pawb o'r Seintiau i ddod o'u caethiwed
I ryddid cysurus a mwyniant heb gêl.

CYMRO CERNDDU.

---

## CARIAD.

LLAWER sydd o ddywedyd am y gynneddf neu y nwyd hon, mewn perthynas iddi yn ei hanfod a'i chyssylltiad â nwydau ereill, ynghyd â'r effeithiau y mae yn eu dwyn. Y mae y gynneddf hon yn wreiddiol yn mhob dyn, ond nid yw yn gweithredu mor gryf ar bob gwrthddrychau gan y naill ddyn a'r llall, ac nid yw mor gryf hefyd i allu gweithredu. Nid wyf yn credu mai

gwrthddrychau sydd yn rhoddi bodoldeb i'r gynneddf, etto gwrthddrychau sydd yn dwyn i amlygrwydd ei bod, ynghyd â grymusder ei heffeithiau; a byddai yn anmhosibl i neb brofi ei bodoldeb, na maint a grym y gynneddf, oni bai fod amgylchiadau yn dwyn achlysuron i weithrediad idd ei phrofi yn mhob dyn; er enghraifft, gall fod dyn yn rymus iawn yn y gynneddf trugaredd; ond cyn y gall ei phrofi yn ei heffeithiau priodol (elusengarwch a thosturi), y mae yn rhaid i amgylchiad wasgu anghenrheidrwydd i weithrediad, yr hyn beth a fydd yn achlysur i brofi i'r dyn ei grymusder mewn elusengarwch a maint y nwyd drugaredd. Gwelwn wrth hyn, nad rhoddi bodoldeb i'r gynneddf trugaredd y mae'r amgylchiad hyn, ond rhoddi cyfle i'r dyn brofi ei grym mewn haelioni.

Cariad wyf yn gredu sydd yn gwthio i weithrediad yn mhob cynneddf sydd â'i heffeithiau yn achosi dedwyddwch; megys trugaredd, gwirionedd, cyfiawnder, &c. Y mae cariad yn ei effeithiau yn dwyn hyfrydwch: y mae cariad yn hir-ymaros, yn gymmwynasgar—nid yw yn cenfigenu, ymffrostio, ymchwyddo, a bod yn anweddaidd, yn meddwl drwg—nid yw yn llawenhau mewn anghyfiawnder, ond gwell ganddo oddef cam. Pan y mae cariad yn goddef, nid yw yn mwynhau cymmaint o hyfrydwch, ag yw wedi i'r peth basio. Mewn cyssylltiad â goddef cam, y mae gofid a meddyliau drwg, yn ymgynnyg yn naturiol i niweidio, oni bai, fod cariad yn ei effeithiau daionus, mewn amynedd hir-ymaros, a chymmwynasgarwch, yn gorbwyso y brofedigaeth. Nid yn unig y mae llawenydd ynglyn wrth effeithiau cariad pan ei cyflawner, ond y mae yn para wedi ei wneyd, a phob tro y byddis yn cofio am dano gan ei wneuthurwr, a phawb a fu yn wybodus am dano hefyd; a phe bai can miliwn yn gwybod a chofio am dano bob dydd, derbynient ddylanwad da oddiwrtho, yn nerth pa un yr ymhyfrydent i wneuthur ychwaneg o'r un peth, er enwogi eu hunain, a llesoli pawb o'u deutu. Mewn cyssylltiad ag effeithiau cariad, y mae anrhydedd, gogoniant, a chyfoeth; a dyma ddaioni byd wedi ei fwynhau, os mwynheir hyn: etto, y mae holl effeithiau cariad i gael eu rheoleiddio wrth gyfraith. Y mae yn bosibl i ddyn weithredu yn unol â'r nwyd cariad yn anghyfreithlawn, ac i'r gweithrediadau achosi gofid, tristwch, cywilydd, a thylodi mawr. Yn unig beth sydd yn rhoddi cymmeradwyaeth i weithrediadau cariad, yw cyfreithlonrwydd y weithred, ynghyd â'i

theilyngdod yn mhob gwasanaeth. Gall dynion weithredu yn ol teimladau cariad, ac i'r weithred fod yn ddrwg, o herwydd nad yw yn ol y gyfraith y dylid gweithredu cariad wrthi: o ganlyniad, y mae llesoldeb a daioni gweithredoedd cariad, yn ymddibynu ar eu cyfreithlonrwydd yn y naill wasanaeth fel y llall; etto y mae yn bosibl i ddyn weithredu yn ol cyfraith cariad, ac heb fod y weithred yn cael ei chynnyrchu gan gariad. Hon etto ni chymmeradwyir, mwy nâ'r hon a weithredir yn anghyfreithlawn. Y mae yn rhaid i'r gweithredoedd sydd i ddwyn lles ac hyfrydwch, fod yn ol cyfraith a chariad. Etto mewn cyssylltiad ag effeithiau cariad, ac effeithiau y nwydau ereill sydd yn cael eu dirgymhell ganddi, megys trugaredd, gwirionedd, cyfiawnder, &c., y mae fwyaf o Ysbryd Duw. Y mae y geiriau sydd yn cael eu cynnyrchu gan gariad ar nwydau ereill, yn ysbryd a bywyd (os byddant yn ol y gyfraith), a thuedd ynddynt i ddwyn hyfrydwch i'r dyn a'u cyflawno, a lles i'r dyn neu y dynion eu cyflawnir arnynt. Bydded ein holl eiriau sydd yn gofyn ufydd-dod, ynte, gael eu *picklo* mewn cariad, a'n holl weithredoedd gael eu cynnyrchu oddiar y nwyd hon, yna cawn ddedwyddwch. Amen.

*Tre-Sior.* CARWR CADW CYNGHOR.

---

## MAE AMSER DA YN DYFOD.

TON—"Boreu Teg."

O! GYMRY, Gymry hoff, deffrowch,
A chlust o ymwrandawiad rhowch
I air o gysur genyf gewch—
  Mae amser da yn dyfod.
Yr angel ddaeth i lawr o'r nef,
Hyn oedd ei lais a'i uchel lef*—
Gwrandewch ei air ac ofnwch Ef,
  Mae amser da yn dyfod.

Efengyl hedd ddanfonodd Duw
I lawr o'r nef at ddynolryw,
Pob llwyth ac iaith, pob llun a lliw,—
  Mae amser da yn dyfod.
I fynydd Seion dewch yn llu,†
O Babilon, fy mhobl i,
Ei phläau mawr sy'n hongian fry,
  A'i hamser bron a dyfod.

Pan ddua'r haul, pan guddia'r llo'r,‡
Pan gwymp y sêr, pan rua'r môr,

Hyn fydd arwyddion pena'r Iôr,
Fod amser da yn dyfod.
Daw i deyrnasu gyda'i Saint,
Heb bechod mwy, na phla, na haint,
Ond heddwch Duw—mawr fydd eu braint,—
Mae amser da yn dyfod.

Fe dywallt Duw ei Ysbryd Glân||
Ar bob rhyw gnawd, o fawr i fân,
'Nol geiriau yr ysgrythyr lân,—
Mae amser da yn dyfod.§
Mae pob creadur yn ei ryw
Am gael dadguddiad meibion Duw,
Ac am ddiogel fan i fyw,—
Mae amser da yn dyfod.

Teyrnasa heddwch trwy'r holl fyd,¶
Ceir gwel'd y blaidd a'r oen yn nghyd,
Y myn a'r llewpard o'r un fryd,—
Mae amser da yn dyfod.
Y fuwch yn nghyd â'r arth a bawr,
A'i llydnod fydd mewn heddwch mawr,
Am hyn cydganed pawb yn awr—
Mae amser da yn dyfod.

Anghofia'r llew greulonder cas,**
Fel ych fe bora wellt y maes,
Cydorwedd â'r anifail bras,—
Mae amser da yn dyfod.
Gwaith ofer fydd i uffern ddu
Ryfela mwy â Seion gu,
Mae dewrach gwr yn awr o'i thu,
Ac amser da yn dyfod.
Ni ddysgir rhyfel mwy 'nol hyn,††
Rhoi'r terfyn ar y gwaywffyn,
Ceir heddwch Duw ar Seion fryn,—
Mae amser da yn dyfod.
Pryd hyn ceir gweled pob rhyw ddyn
O dan ffigysbren hardd ei lun,
A'i winwydd hir a'i flodau gwyn,
A'i amser wedi dyfod.

*Sant Brid Fawr.* WILLIAM JONES.

* Dat. xvi, 6, 7. † Dat xviii, 4. ‡ Mat. xxiv, 29. || Joel ii, 28. § Rhuf. viii, 19. ¶ Esay xi, 6, 7, ** Esay xi, 6, 7. †† Micah iv, 3, 4.

---

## Y DEML.

MAE yn bleser genym i hysbysu y Saint fod cyfleusdra iddynt yn bresennol i ddyfod â'u hoffrymau i mewn tuag at adeiladu

Teml i Dduw yn Ninas y Llyn Halen Fawr. Ni feddyliwn y bydd achos cymhell y Saint i ffyddlondeb ynghylch hyn, gan y gwyddant na fydd lle iddynt yno i dderbyn eu cynnysgiaethiadau, heb eu bod yn ei wneuthur eu hunain, trwy dalu eu degwm, ac offrymu eu rhoddion. Mae y sawl sydd yn gwybod rhywbeth am allu Duw, yn gallu gwerthfawrogi ei fraint, ei fod yn cael cyfleusdra i adeiladu Tŷ i Dduw yn mhen y mynyddoedd, lle y derbynir bendithion ag a wna ein calonau i lawenhau, ac a'n haddasa yn y diwedd i dderbyn y gogoniant nefol, a bod gyda Duw, a bod yn debyg iddo.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

O'R DYFFRYN.—Yn gymmaint â bod y Barnwyr Brocchus a Brandeburg a'r Ysgrifenydd Harris wedi cilio o Diriogaeth Utah, darfu i'r Llywodraethwr Brigham Young benodi ysgrifenydd (dros amser), fel na chaffai dim ei attal, ac y mae y Barnwr Snow yn gallu cyflawni yr holl waith.—Mewn perthynas i'r cyhuddiadau a leinw bapyrau y wlad, gall ein darllenwyr weled amddiffyniad gan Olygydd y "New-York Daily Tribune," yn y rhifyn hwn, fel nad oes achos i ni ddywedyd dim yn rhagor. Mae dernyn arall hefyd yn ein meddiant allan o'r "Missouri Republican," yn amddiffyn y Saint yn yr un modd.

YR EGLWYS.—Mae yn rhaid i Eglwys Crist ddyoddef tra y byddo y "butain fawr" yn teyrnasu; a bydd yn deg i'r butain fawr dyoddef pan roddir y llywodraeth dan yr holl nefoedd i bobl Saint y Goruchaf.

---

TALIADAU O ION. 23 HYD CHWEF. 5.—Morganwg Orllewinol, £5 3s; Sir Fflint, £1 5s; Llanfabon, 19s 7c; Georgetown, £2 4s 6c; Pendaren, £2 10s 5c; Liverpool, £5; Aberaman, 7s 6c. —Cyfanswm, £17 10s.

☞ Peidied ein prydyddion a gwan-obeithio, o herwydd nad yw eu gwaith wedi ymddangos; bwriadwn gyhoeddi amryw o honynt yn eu tro.

☞ Erfyniwn ar y rhai sydd yn hir yn dyfod i ymofyn y llyfrau a rwymir iddynt, wneyd pob brys a allant, gan fod llyfrau yn gwaethygu wrth eu cadw, heblaw fod eisieu lle, ac eisieu yr arian am danynt i dalu y rhwymwr.

"W. P."—Hysbyswn ef, ynghyd â holl ddosparthwyr y Gogledd, fod y sypynau yn cael eu danfon oddi yma ar y dydd Sadwrn y cyhoeddir yr "Udgorn," bob pythefnos.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

// UDGORN SEION,

NEU

**Seren y Saint.**

RHIF. 4.] CHWEFROR 21, 1852. [CYF. IV.

## ADOLYGU LLYFRAU.

MAE adolygu llyfrau yn erbyn y Saint wedi myned yn waith diflas iawn genym o'r diwedd, trwy fod ein gwrthwynebwyr yn ysgrifenu pethau ag ydynt wedi eu hateb amryw weithiau o'r blaen. Ni fynant edrych i mewn i'n hegwyddorion na'n hanes, eithr pentyrant hen lol allan o lyfrau y gelynion a ysgrifenasant o'u blaen. Mae llyfryn o'n blaen yn awr, a elwir "Twyll Mormoniaeth, ynghyd â Hanes Bywyd a Marwolaeth Joseph Smith," gan y Parch. William Rowlands, curad, Merthyr; yr hwn sydd yn dangos yn eglur na cheisiodd ei awdwr chwilio dim i egwyddorion y Saint, nac i hanes Joseph Smith, ond yn unig yn llyfrau ein gwrthwynebwyr, y rhai ydynt wedi eu profi yn gelwyddog cyn i Mr. Rowlands erioed eu gweled. Ai ni fyddai yn deg i ddyn fel efe ddarllen yr hyn sydd wedi ei gyhoeddi yn ei dref ef ei hun, yn ateb i'r rhan fwyaf o'i lyfryn, cyn myned i'w ysgrifenu? Yr oedd ateb yn barod i'w lyfryn ef, cyn iddo fyned i'r wasg, ac ond odid cyn ei ysgrifenu. Pwy bynag sydd am weled rhyw adolygiad ar ei lyfryn, galwed gyda ni, a gwerthwn iddo wahanol draethodau, y rhai a gynnwysant atebion i'r rhan fwyaf o'r twyll-resymau a geir yn y llyfryn dan sylw, ynghyd â hanes cywir gan lygad-dyst ynghylch Joseph Smith. Mae yn gryn gywilydd i Mr. Rowlands ei fod yn gosod ei enw wrth gymmaint o sothach disynwyr ag sydd yn ei lyfryn, heblaw y celwyddau noeth sydd yn britho ei dudalenau.

Y ffordd oreu i'r Saint amddiffyn eu hunain yn ngwyneb llyfrynau ein gelynion, yw ymdrechu dosparthu y traethodau ag

ydym wedi ysgrifenu, o herwydd y mae y rhai hyny yn ateb holl wag-resymau ein gwrthwynebwyr, ac yn arwain y darllenydd at wreiddyn pob pwnc, fel y gallo farnu drosto ei hun. Os cawn gan y Saint wneuthur fel ag yr ydym yn eu dysgu, nid oes achos i ni ofni llyfrynau, fel eiddo Mr. Rowlands, pe byddent rif y sêr: mae digon o nerth yn Mormoniaeth i weithio ei ffordd, os gwna y Saint ei dwyn i sylw eu cydwladwyr. Mae yn bryd i'r Saint ddeall mai yr argraff-wasg yw y pregethwr mwyaf effeithiol yn y dyddiau hyn, gan ein gelynion, yn gystal â chenym ninnau. Am hyny, pan fyddo ein brodyr am i ni ateb y gwrthddadleuon a ddygir yn ein herbyn, bydded iddynt gofio fod genym draethodau wedi eu cyhoeddi ar y rhan fwyaf o'n pynciau, y rhai ydynt hyd yn bresennol heb gael eu hadolygu gan ein gelynion. Mae yn arwydd, os bydd rhywun yn ysgrifenu yn erbyn y Saint, heb ddarllen dim ar eu llyfrau, ei fod yn amcanu dallu meddyliau ei ddarllenwyr, a'u cadw rhag gwybod dim ynghylch y rhesymau sydd gan y Saint i roddi am y gobaith sydd ynddynt. Mae yn enbyd fod yn rhaid i barchedigion yn y wlad hon fyned i'r America at Joseph Smith, cyn y gallant gael dim i ysgrifenu yn erbyn Mormoniaeth, pan y mae digon o lyfrau yn eu cartref eu hunain yn haeddu mwy o'u sylw. Y cyhoeddiadau a argraffwn ni yma, a'r pregethau a bregetha ein brodyr, sydd yn llwyddo Mormoniaeth yn Nghymru; a chan hyny, os yw ein gelynion (canys gelynion sydd yn galw ereill wrth enwau drwg) yn gofalu am les ac iachawdwriaeth y Cymry, paham na ddeuant at wreiddyn y drwg, sef yr amrywiol draethodau a ddosparthwn yn mhob cwr o'r wlad—paham na ddangosant dwyll yr hyn a allant weled yma, yn lle twyll dyn ag a fu byw a marw mewn gwlad bellenig, yr hyn sydd yn mhob ystyr allan o'u cyrhaedd? Mae y rheswm i'w gael: mae yn rhwyddach gwaeddi "twyllwr," nâ dangos y twyll. Mae twyll Joseph Smith i'w gael yn Nghymru; a phaham na chai ei ddangos i'r bobl, yn lle dangos y twyllwr, yr hwn sydd wedi marw? Yr oedd yn haws dweyd fod Crist yn yfwr gwin ac yn meddu cythraul, nâ dangos twyll ei athrawiaeth; ac felly yn yr oes hon, mae yn rhwyddach dweyd pob drwg am Joseph Smith, na dangos twyll yr egwyddorion a bregethodd trwy ei oes. Fe ŵyr gwrthwynebwyr Mormoniaeth hyny, a dyma yw yr achos eu bod mor ddystaw ynghylch llyfrau y Saint. Ond gadawer iddynt, dewisent eu ffordd; mae yn rhaid i waith Duw

fyned rhag ei flaen, ac y mae yn myned, er gwaethaf pawb; a pha fwyaf a ysgrifeno offeiriaid a phregethwyr yn ei erbyn, mwyaf i gyd a ddaw i ymuno â'r Saint, os byddwn ni wrth ein gwaith yn gwasgaru ein llyfrau a'n hegwyddorion. Mae y pur o galon yn rhwym o weled y goleuni, os bydd yn tywynu arno; ond os na fydd yn tywynu, nid oes cymmaint o fantais. Chwi Saint, peidiwch digio wrth y rhai sydd yn taenu chwedlau trwy y wasg a'r pwlpudau am danom; canys mae yr hyn a wnant yn cyflymu cyfnod gorchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd. Daw pawb i wybod mwy am hyn yn y pen draw.

Yn awr, frodyr, ymysgydwch, mae eich amser yn fyr; gwnewch ddefnydd o'r defnyddiau a osodwn o fewn eich cyrhaedd. Taenwch y llyfrau, ac ewch o dŷ i dŷ mewn llawn cariad a dymuniadau da, a gweddiwch am i Ysbryd Duw fod gyda chwi, a chwi a orchfygwch i ennill llaweroedd yn Saint. Bydd i ninnau, mor fuan ag y gorphenwn Lyfr Mormon yn y Gymraeg, fyned at ein hen orchwyl o ysgrifenu traethodau, ac ymdrechu eu gwneyd yn arfau effeithiol yn llaw Duw i dynu cestyll o annuwioldeb i'r llawr, ac adeiladu teyrnas ei anwyl Fab: ac wedi y casglom ein hysgubau ynghyd, ni a frysiwn tua thref, i etifeddu ein rhan yn Seion, a chymdeithas felys y Saint.

---

## MEDDYLIAU GWIBIOG.

Esgusodir ni am unwaith i ysgrifenu ein meddyliau gwibiog; canys er ymdrechu o honom awr yn ol i ysgrifenu erthygl i osod yn ein cyhoeddiad, cawsom allan nad allem yn rhwydd gadw at ein pwnc, oblegid fod ein meddwl mor wibiog: gan hyny, penderfynasom ysgrifenu rhywbeth ar antur. Yn awr, gan hyny, groesau i chwi feddyliau gwibiog; deuwch atom o bob man, a ninnau a'ch ysgrifenwn i lawr mor gynted ag y gallom, gan ddechreu ar y

1. Mae trafferth gyda phob peth, ac y mae trafferth wrth gasglu meddyliau gwibiog, yn enwedig os bydd gormod yn dyfod ar y tro.

2 Cyn y gallwn lefaru llawer o synwyr, rhaid i ni ddweyd ambell i ffolineb; a chyn y gallwn ni foddio pawb, rhaid i bawb ein boddio ni.

3. Y ffordd rwyddaf a byraf i'r nef, yw y ffordd a ddangosodd Iesu Grist; ac os myn neb gael gafael ynddi, ymwaded â'r ffyrdd a arddelir gan ddynion, a chwilied am y porth cul.

4. Nid oes dim yn fwy gwrthwyneblyd gan rai, na chyfaddef eu bod yn anwybodus; pob peth a ddywedir wrthynt, achubant y blaen i ddweyd eu bod hwy yn ei wybod o'r blaen, ac felly twyllant eu hunain wrth feddwl eu bod yn twyllo ereill. Mae y cyfryw yn aml iawn yn bradychu eu hunain.

5. Peth digrif yw clywed dyn yn gofyn cwestiynau, er mwyn cael cyfleu i'w hateb ei hun, i ddangos ei wybodaeth. Mae yn fwy o glod i ddyn gadw ei wybodaeth hyd nes y daw galwad am dani, na'i rhoddi allan yn anamserol.

6. Dylid bod yn ofalus i beidio dweyd y gwaethaf wrth y claf, os ydym am ei gadw yn fyw. Mae crediniaeth yn lladd yn gystal ag yn bywhau. Dywedwn y gwaethaf pan fyddo perygl dweyd fel arall. Mae y meddygon sy'n dweyd eu holl feddwl, yn lladd mwy nag y maent yn gadw yn fyw.

7. Os bydd dyn yn derbyn iechyd yn wyrthiol, diolched Dduw, ac na wneled ddefnydd o hyny er ceisio argyhoeddi anghredinwyr. Os na argyhoeddir hwynt trwy air Duw, gadawer hwynt yn llonydd. Nid da bod cleifion yn myned allan i ddangos eu hunain, a chyffroi gelyniaeth.

8. Mae yr hwn sydd yn trysori gwybodaeth, yn trysori iddo ei hun, a'r hwn sydd yn trysori golud, yn trysori i arall. Mae gwybodaeth yn gydymaith i fyned i'r byd arall, pan y mae golud yn ein gadael, ac yn myned i ddwylaw ereill.

9. Nid wrth yr olwg y mae barnu duwioldeb, eithr wrth y galon. Dyna yr achos na adnabyddodd y byd ein Harglwydd a'i ddyscyblion; yr oeddynt hwy yn eu mesur wrth olwg rhagrithwyr a ystyrid yn dduwiolion, canys ni wyddent am y pur eu calon.

10. Nid yw yr hwn sydd yn eillio ar y Sabboth yn fwy o bechadur na'r hwn sydd yn marchogaeth ei geffyl, neu wneuthur pastai i'r gweinidog i giniaw. Nid gorchymyn i beidio eillio sydd, eithr i beidio marchogaeth anifeiliaid, trin bwyd, &c., fel y gwelir yn yr ysgrythyr. Mae rhai mor dduwiol fel nas gallant dori cneuen ar y Sabboth, heb ei ystyried yn bechod, tra ar yr un pryd y torant y gorchymyn pendant, trwy farchogaeth eu hanifeiliaid, yn lle gadael iddynt i orphwys.

11. Nid boneddigeiddrwydd yw fod offeiriad yn galw ei hun yn

"Barch. William Rowlands," tra yn galw dyn arall, yn llawer gwell nâ'i hun, yn "*Joe*."

12. Mor rhwydd yw cael dyn i gredu yr un peth â'i rieni mewn pynciau crefyddol; ond gwaith anhawdd yw dwyn dyn i gredu egwyddorion ag sydd yn newydd iddo. Gwynfyd y dyn na fagwyd i gredu cyfeiliornad, eithr sydd yn barod i dderbyn y gwirionedd yn ei symlrwydd.

13. Nid dillad gwychion sydd yn gwir addurno dyn, eithr cymmeriad da, a gwybodaeth fawr.

---

## GWYBODAETH.

Dywedir yn fynych mai gogoniant y greadigaeth yw dyn, ac mai gogoniant dyn yw ei feddwl, ac mai gogoniant y meddwl yw gwybodaeth. Er hyny, gwrthwynebir y Saint yn erwin, o herwydd y dywedant eu bod yn gwybod eu bod yn iawn, ac mai ganddynt hwy mae gwir grefydd ein Harglwydd Iesu Grist; nid oes un rheswm gan eu gwrthwynebwyr yn erbyn gwybodaeth, ond dweyd "Nid oes eu heisieu," &c. Yn awr, ddarllenydd, pwylla, gad dy ragfarn, a rho dy synwyr ar waith, ac yna cai weled fod gwybodaeth yn llesol a defnyddiol, mewn ystyr dymmorol ac ysbrydol. Dywed un o ddoethion Duw, "Bod yr enaid heb *wybodaeth* nid yw dda;" a chan nad yw yr enaid heb wybodaeth yn dda, rhaid ei fod yn ddrwg; yna gwelwn fod gwybodaeth yn dda, ac os felly, eglur yw fod ei heisieu, a'r hwn a ddywed yn groes i hyny, sydd yn dweyd yn ei ymddygiad, ei fod yn ddoethach na Solomon, yr hyn nis gallaf gredu.

Yn awr, cawn sylwi mewn modd eglur, fel y gallo pawb ddeall, ar ddefnyddioldeb gwybodaeth, mewn ystyr dymmorol. Meddylia, ddarllenydd, dy fod wedi cael galwad neillduol o bwysig i fyned i ryw ddinas bellenig, a'th fod yn cael dy rybyddio i ddyfod yno erbyn rhyw amser penodol, ac y byddai dy absenoldeb yn gyfryw ag a fyddai yn peryglu dy fywyd; a'th fod wedi cael darluniad o'r ffordd sydd yn arwain tuag yno, a bod perygl dychrynllyd i gymmeryd dy arwain ar hyd unrhyw ffordd arall. Beth a fyddai dy deimladau yn ngwyneb y fath amgylchiad pwysig? Os na fyddai yn dy feddiant wybodaeth o'r ffordd sydd yn arwain tuag yno, oni fyddai dy deimladau yn ofnog a gofidus? os troi a wnai at gâr neu gyfaill, ac os na fydd gan

y cyfryw wybodaeth, nid oes dim cysur i ti i'w gael; pe byddai i ti gymmeryd dy daith i chwilio am y ffordd iawn, a gweled ugeiniau o wahanol ffyrdd, a phob ffordd yn groes y naill i'r llall, a channoedd o deithwyr yn rhodio ar bob un o'r ffyrdd hyn, a phawb yn dweyd, "Nyni sydd ar y ffordd iawn!" dichon y buasai i ti gofio dy fod wedi clywed fod pob ffordd yn beryglus i'w theithio ond un; ac os na fyddai i ti gael gafael yn hono, fod dy fywyd mewn perygl o gael ei golli. Yna cawsit, druan, dy yru yn fwy dy arswyd fyth, nes y buasit yn barod i waeddi allan, gyda thôn alarus, "O, na fyddwn yn *gwybod* y ffordd iawn; O, na fyddwn yn gwybod y ffordd!" Beth yw'r mater? "O, mae fy mywyd mewn perygl o eisieu gwybod y ffordd!" Pan ofynir i deithwyr yr amryw ffyrdd hyn, os ydynt yn gwybod eu bod yn myned ar hyd y ffordd briodol? atebant, "Na, nid ydym yn gwybod, ond yr ydym yn gobeithio ein bod yn myned i'r lle hwnw ag yr ydych chwi am fyned iddo." Pe gofynem iddynt a oes rhywrai yn eu plith yn gwybod, atebant, "Nid oes neb." Ddarllenydd, mewn difrif, beth a fyddai dy deimladau yn y cyflwr hwn? beth fyddai y fendith fwyaf allasit gael? Nid aur nac arian, na thai na thiroedd; na, na, "Mae fy mywyd yn fwy ei werth nâ'r cwbl," fyddai yr ateb, onite? ïe, yn ddiammau. Wel, pan yn nghanol dy ing a'th arswyd, beth pe dygwyddai i ti glywed dyn yn gwaeddi allan ar bawb, gan ddywedyd, "Pwy bynag a ddaw ataf fi, ac a wna yr hyn a ddywedaf wrtho, mi a'i gosodaf ar y ffordd iawn, ac a roddaf iddo gyfarwyddid i ddanfon i'r ddinas a ewyllysia fyned, o ba le y ceir ateb, yr hyn a rydd wybodaeth fy mod yn dweyd y gwir." Oni fyddai dy galon yn llawenhau yn ddirfawr wrth glywed addewid mor werthfawr? oni fyddai yr ing a'r gofid yn dechreu cael eu hymlid ffwrdd? Oni fuasit yn foddlawn gwneuthur yr hyn a orchymynai efe i ti, ar gyfrif i ti gael gwybod y ffordd; ac ar ol i ti gael ateb o'r ddinas yn dystiolaeth dy fod ar y ffordd iawn, gallasit ddweyd, "Yn awr yr wyf yn gwybod fy mod ar y ffordd iawn," ac ni fyddai wahaniaeth pwy a ddywedai yn groes, buasit ti yn gwybod gwell. Pwy a allasai ddarlunio y cyfnewidiad fyddai wedi cymmeryd lle yn dy feddwl?—Pryd yr oeddit gynt yn wylo o eisieu gwybodaeth, heb gysur o fewn y byd, mewn aur nac arian, tai na thiroedd, câr na chyfaill; ond yn awr, pob anghysur wedi cael ei symud ymaith, a hyny o achos gwybodaeth o'r ffordd iawn, yr

hon wybodaeth a lanwai dy galon o gysur a gwir lawenydd, ïe, mewn gair a achubai dy fywyd rhag angeu. Gan hyny, pwy a ddywed nad da yw gwybodaeth? Hefyd, nid da yw cyfarwyddwr yn amddifad o wybodaeth, nid yw meddwl hwnw yn gysurus, rhag ofn ei fod yn euog o gyfarwyddo dynion i rodio ar hyd ffordd gyfeiliornus, ac i'r cyfryw gyfodi yn ei wyneb mewn amser i ddod, gan ddywedyd wrtho, "Celwyddwr wyt, ti a'n gosodaist ni i rodio ar hyd ffordd sydd yn myned i ddystryw." Ond os bydd ganddo wybodaeth, bydd heddwch yn ei feddwl, a chydwybod rydd tuag at Dduw a dynion. Beth sydd yn fwy gwerthfawr i'r celfyddydwr na'i fod yn gwybod neu yn deall ei gelfyddyd yn dda? y mae ef yn alluog i wneyd mwy o waith â llai o ddefnydd, ac i ateb gwell dybenion, nâ'r hwn sydd heb ddeall neu wybod ei gelfyddyd yn dda; o ganlyniad, gwelwn fod gwybodaeth yn dda. Beth pe gofynem i'r amaethwr, "Ai gwenith yr wyt yn hau," ac iddo yntau ateb, "Yr wyf yn gobeithio hyny, ond nid wyf yn gwybod yn iawn!" oni fyddem yn barod i ddweyd ei fod yn ddyn ffol, yn hau yr hyn nad oedd yn wybod beth oedd. A oes rhyw amaethydd mor ffol? Nac oes, feddyliwn. Etto, pa rieni plant fyddai mor annoeth â'u danfon i'r ysgol i ddysgu darllen, os na fyddai yr ysgolfeistr yn gwybod y wyddor ei hun? Nid oes neb. Felly, gwelwn, oddiwrth yr hyn a nodwyd, ynghyd â llawer o bethau a allem eu nodi, fod gwybodaeth yn dda a defnyddiol mewn ystyr dymmorol.

(*I'w barhau.*)

---

## YR EFENGYL YN YR AMERICA DDEHEUOL.

### LLYTHYR ODDIWRTH YR HENURIAD P. P. PRATT.

*Valparaiso, Chili, America Ddeheuol, Tach.* 24, 1851.

ANWYL FRAWD,—Yn unig fel pe byddai yn y cwr tywyll hwn o'r ddaear, teimlwyf i ymofyn am oleuni, cysur, ac adeiladaeth, o'r wlad hono o ba un y deilliais, a lle y mae genyf gymmaint o gyfeillion anwyl ac adnabyddiaeth, ac o'r goleuad llachar hwnw a osodwyd gyntaf mewn symudiad genyf fy hun fel Golygydd. Byddwch gystal â danfon y *Star* mor aml ag y cyhoeddir hi, wedi ei chyfeirio at P. P. Pratt, Valparaiso, Chili. Mi a alwaf am dani yn swyddfa yr agerlong Seisnig yn y ddinas hon. Danfon-

wch hefyd gyda'r un cyfleusdra sypyn o'r ol-rifynau, a rhywbeth arall a all fod yn ddyddorawl. Diolchaf i chwi hefyd am sypyn bychan o Lyfr Mormon, a'i ddanfon gyda'r un cyfleusdra, os gwnant eu dwyn. Minnau a dalaf y cludiad a'r doll, os gall swyddfa y *Star* roddi i bererin unig y fath anrheg. Hefyd, byddwch gystal ag ysgrifenu llythyr i mi, yn hysbysu yr hyn a fyddwch yn ddanfon, a chyda pwy y danfonir. Efallai y byddai gystal i drosglwyddo y sypyn llyfrau i swyddfa yr agerlong yn y ddinas hon; ond, pa fodd bynag, gellwch chwi gael gwybod pa beth a ellir ac a ddylid wneuthur, trwy holi yn swyddfa y llinell hon o agerlongau yn eich tref eich hun.

Ysgrifenwch lythyr da ataf, canys wrth gwrs y mae genych chwi rywbeth i ysgrifenu yn ei gylch. Yr wyf fi flwyddyn ar ol yr oes gyda golwg ar hysbysrwydd. Bum fyw bedair neu bum mlynedd yn y mynyddoedd, teithiais dri mis trwy yr anialdir, a moriais bedwar diwrnod a thrugain ar y môr unig, ac yna tiriais yma ar yr 8fed o'r mis hwn, yn mhlith pobl o dafodiaith arall; ac megys pe na byddai hyn yn ddigon i goroni niwl aneglurder a hir dywyllwch, wele, y mae rhyfel cartrefol yn bodoli yma, ac ni wna neb lefaru, ysgrifenu, nac argraffu llawer o oleuni ar unrhyw bwnc.

Gellwch fod wedi darllen am newyn am air yr Arglwydd; wel, ychwanegwch at hyny newyn am newyddion, a newyn am air ein cydgreaduriaid, a gellwch ffurfio rhyw ddrychfeddwl am ein sefyllfa. Daeth yr Henuriad Rufus Allen gyda mi yma, ac y mae yr Henuriad Philo B. Wood i ganlyn ar fyrder. Yr ydym yn astudio y "*Lengua Espanol.*" Yr ydym eisoes yn dechreu ei deall, ac yn medru llefaru ond ychydig iawn. Yr ydym hefyd yn darllen ac yn deall peth o'r cyhoeddiadau Yspaenaeg, ynghyd â'r Beibl Yspaenaeg. Gobeithiaf, yn mhen blwyddyn neu ddwy i roddi i'r America Yspaenaidd, Lyfr Mormon yn eu hiaith eu hunain, os ewyllysia yr Arglwydd.

Gan fod llywyddiaeth ynysoedd a gororau y Môr Tawel dan fy ngofal i, yr wyf eisoes wedi penodi cenadiaethau mewn amrywiol leoedd. Mae yr Henuriad John Murdock yn ngofal y genadiaeth i Australia, yn cynnwys New Zealand, New Holland, a Van Dieman's Land. Hwyliodd o San Francisco i Sidney, er ys mwy na dau fis yn ol, yn nghwmpeini yr Henuriad Charles W. Wandell.

Mae yr Henuriad Phillip B. Lewis a gofal cenadiaeth y Sandwich Islands, ac yn cael ei gynnorthwyo gan ryw hanner dwsin o wyr ieuainc. Mae yr Henuriad Addison Pratt o hyd yn y Society Islands, ac felly y mae ereill; eithr y mae yr eglwys yno yn cael ei gorthrymu yn fawr gan y Ffrancod. Yn San Francisco, California, mae y gwaith yn llwyddo. Mae yr eglwys yno mewn ysbryd da, ac yn rhifo dros hanner cant o aelodau.

Anwyl Frawd,—Dymunaf gael fy nghofio yn Lloegr gan y Saint, ac erfyniaf eu gweddiau taeraf ar ran ein llwyddiant yn y maes eang o'n llafur efengylaidd.

Byddwch gystal â chynnrychioli ynysoedd a gororau y Môr Tawel yn eich Cymmanfa gyffredinol nesaf, a chynnadledd yr America Yspaenaidd yn neillduol. Mae y gynnadledd hon yn cael ei hamgylchynu fel y canlyn—ar y gorllewin gan y Môr Tawel, ar y deau gan Cape Horn, ar y dwyrain gan y Môr Werydd, ac ar y gogledd gan Unol Daleithiau Gogledd America. Cynnwysa arwynebedd o gylch 6000 o filltiroedd, o'r gogledd i'r deau, a 3000 o'r dwyrain i'r gorllewin; ac y mae yn gyfansoddedig o Amherodraeth Brazil, Gwerin-lywodraethau Buenos, Ayres, Chili, Peru, Bolivia, Columbia, Guatamala, Mexico, a llawer o daleithiau llai, llwythau, &c., ac yn debygol o fod yn cynnwys deugain miliwn o drigolion, y mwyrif o ba rai ydynt yn deall yr Yspaenaeg. Wedi i allweddau cyflawnder yr Efengyl gael eu troi yn yr Yspaenaeg, hwn yw y maes eang sydd yn ymagor i'r golwg synedig; a'r peth goreu o'r cyfan yw, fod mwy nâ dwy ran o dair o'r nifer hyn yn ddisgynyddion o Lehi, ac yn gynnwysedig yn yr addewidion i Abraham, Isaac, Jacob, Joseph, Nephi, &c., &c. Nid oes gan y Gynnadledd fawr hon yn bresennol ond un gangen o'r Eglwys, yn sefydledig yn Valparaiso, Chili, ac yn gynnwysedig o dri o aelodau, sef, fy hunan a'm gwraig, a'r brawd Allen: mae hyn yn fwy nâ gynnwysai yr holl Gynnadledd Gymreig, pan ei chynnrychiolwyd gyntaf gan yr Henuriad Dan Jones yn Nghymmanfa Gyffredinol yr Ynysoedd Prydeinig, yr hon a gynnwysai ei hunan a'i wraig, fel y dangosa cofnodion y *Millennial Star.*

Fy anwyl frawd F. D. Richards (feddyliwyf wyf yn anerch)—Os yn mhlith y degau o filoedd o Saint yn yr Ynysoedd Prydeinig, y rhai ydynt yn gorfoleddu yn y gwirionedd, y mae rhyw ychydig etto sydd yn cofio am danaf fi ac am ddydd y pethau bychain,

cyflwynwch iddynt fy anerchion, fy nghofion, a'm serchiadau gwresocaf; a'r un peth i'r rhai sydd yn caru y gwirionedd, y rhai nid wyf wedi weled yn y cnawd. O, fel yr hoffwn ymweled â Lloegr a Scotland unwaith yn rhagor, a Chymru hefyd; eithr mae yr amser yn werthfawr, y cynauaf yn fawr, a'r gweithwyr yn anaml. Rhaid gan hyny i'n hymweliadau, a'n hamddenau, a chyflawnder ein llawenydd, gael eu gohirio hyd ddiwedd y cynauaf, hyd nes y byddo yr ysgub olaf yn cael ei llwytho, a'i chyfleu yn ddiogel i'r ysgubor, a'r sofl ynghyd â'r us a'r efrau yn cael eu llosgi.

Bendithied Duw chwi oll, ac hefyd y llafurwyr ar y cyfandir, yn awr ac yn oes oesoedd. Amen.

Ydwyf, eich brawd a'ch cyd-lafurwr yn Nheyrnas ac Amynedd Iesu Grist,

P. P. PRATT.

---

## NEWYDD O DDINAS Y LLYN HALEN FAWR.

### LLYTHYR ODDIWRTH RICHARD BALLANTINE AT YR HENURIAD JOHN TAYLOR.

*Dinas y Llyn Halen Fawr, Medi* 23, 1852.

YR HENURIAD J. TAYLOR,—Anwyl Syr,—Gyda llawer o bleser yr wyf yn defnyddio yr adeg bresennol i gyfrinachu â chwi trwy y cyfrwng hwn. Ymddengys yn amser hir er pan ymadawsoch, ac nid wyf wedi ysgrifenu mor aml ag y gallaswn, er yn gyffredin fod genym ddigon o esgusodion i gyfiawnhau, yn ein cyfrif ein hunain, unrhyw esgeulusdod. Hyn wyf yn fwriadu ddanfon atoch gyda'r brawd Samuel W. Richards, yr hwn, mewn cyssylltiad â'r brodyr Shurtleff, Carn, Willard Snow, a rhyw hanner dwsin ychwaneg, ydynt ynghylch cychwyn ar genadiaeth i Ewrop.

Yn ystod y Gymmanfa ddiweddaf, yr hon a ddechreuodd ar y 7fed o'r mis hwn, ac a barhaodd ychydig o ddyddiau, ni a gawsom adfywiad gogoneddus. Yr oedd llawer iawn o bregethu gan yr hen Dadau, gan y Deuddeg, a'r Brif Lywyddiaeth. Y Llywydd Young, gyda mwy o allu a phenderfyniad nag a welais erioed o'r blaen, a ofynent i'r bobl os ufyddhaent i'w gynghor. Pleidleisiwyd ganddynt yn unfrydol i wneuthur felly. Yna efe a

ddywedodd wrthynt am ddechreu o'r newydd, a thalu degwm o'r oll a feddent, megys pe baent heb dalu *cent* o'r blaen, cadw y gair doethineb yn yr helaethrwydd o hono, a bwrw heibio bob amryson ac enllib; a hyn, meddai efe, a roddai i'r bobl i ddechreu.

Yn ystod y Gymmanfa, y Barnwr Brocchus, un o Farnwyr Undebol yr Unol Daleithiau o'r Uchel Lys, a wnaeth araeth i'r bobl, yr hon oedd yn llawn sarhad. Siaradai trwy y cyfan megys pe byddai yn anerch pobl yn anwybodus o grefydd, o gyfiawnder, o hanesyddiaeth, o lywod-ddysg, o synwyr cyffredin, ac o rinwedd —ceryddodd y Llywyddiaeth ac ereill am eu barnau crefyddol ynghylch ysbrydion ymadawedig, &c., a dangosodd ymarweddiad hunanol a balch trwy y cyfan, ag oedd yn llawn sarhad a gwrthwynebrwydd gan y cyd-wladoldeb goleuedig a rhinweddol hwn, ac ymddygwyd tuag ato gyda dyoddefgarwch amyneddgar ac hynawsedd trwy ei araeth hirfaith, eithr pan eisteddodd i lawr, cyfododd y Llywodraethwr ac a'i ceryddodd ef gyda llymdra cyfiawn a beirniadol.

Ymddengys fod hyn wedi effeithio i uno mewn teimladau gelyniaethus yn erbyn y cydwladoldeb hwn, yn agos yr oll o swyddogion yr Unol Daleithiau, y rhai a ddanfonwyd yma gan y llywodraeth. Mae y rhan fwyaf o honynt ynghylch dychwelyd yn ol i'r Unol Daleithiau, a pha beth fydd effaith y gwrthdarawiad, sydd etto yn rhanol mewn dyfodiant, eithr gobeithir y medda yr Unol Daleithiau y synwyr da o farnu yn gyfiawn yn yr achos, a pheidio pentyru beiau ar bobl, y rhai yn unig a wrthwynebasant yn dirion a chyfiawn sarhad ar deimladau goreu pobl ddeallgar.

Y mae Dr. Bernhisel wedi ei ddanfon fel ein cynnrychiolydd i Congress, ac yr wyf yn credu fod gan y brawd Jedediah M. Grant allu i weithredu fel ein dirprwywr yno.

O ran llywod-ddysg, crefydd, cymdeithas deuluaidd, a phob peth arall, y mae'r bobl yn unol. Maent y tymmor hwn wedi ufyddhau i gynghor braidd yn gyffredinol. Yr wyf fi yn cael fy mawr foddloni fod y brodyr a'r chwiorydd yn cynnyddu mewn ffydd, gwybodaeth, ufydd-dod, a phob rhinwedd cristionogol. Mae llawer wedi ei wneyd ar y gweithiau cyhoeddus. Mae ein trefedigaethau yn ymhelaethu a cyn cynnyddu mewn nerth. Teyrnasa heddwch yn ein mysg, ac os nad yw y byd erioed wedi

gweled enghraifft o bobl yn byw mewn undeb, yn rhydd oddiwrth amryson ac ymgyfreithio, yn y dyffrynoedd heddychlawn hyn y gallant eu gweled. Hyn yn ddiau yw Seion—y pur o galon—y mae egwyddorion milflwyddol wedi cael eu cofleidio, ac yr ydys wedi gweithredu oddiarnynt, ac y mae gobaith yn bywiocâu mynwesau y Saint.

Yr eiddoch, yn rhwymau y cyfammod newydd a thragywyddol,

RICHARD BALLANTYNE.

---

## ANERCHIAD YMADAWOL YR HENURIAD ELIEZER EDWARDS.

DAETH yr amser i mi ymadael â gwlad fy ngenedigaeth, o wirfodd fy nghalon, mewn ufydd-dod i orchymyn Duw, sef "Deuwch allan o honi hi, fy mhobl i, fel na fyddoch gyd-gyfranogion o'i phechodau hi (Babilon), ac na dderbynioch o'i phlaäu hi," er myned tua Seion. "Tegwch bro, a llawenydd yr holl ddaear, yw mynydd Seion yn ystlysau y gogledd" (o Jerusalem). Yn "nhir Joseph," yn mhlith "bryniau tragywyddoldeb," yn eigion y gorllewin pell, y mae y lle y bydd Seion fawr y dyddiau diweddaf i fodoli, medd y Bibl; a dywed Micah y "bydd yn niwedd y dyddiau i fynydd tŷ yr Arglwydd fod wedi ei sicrhau yn mhen y mynyddoedd, ac efe a ddyrchefir goruwch y bryniau, a phobloedd a ddylifant ato, a chenedloedd lawer a ânt ac a ddywedant, Deuwch ac awn i fyny i fynydd yr Arglwydd, ac i dŷ Duw Jacob; ac efe a ddysg i ni ei ffyrdd, ac yn ei lwybrau y rhodiwn: canys y gyfraith a â allan o Seion, a gair yr Arglwydd o Jerusalem." Cofier fod Seion wedi ufyddhau i'r gorchymyn, "Dring rhagot, yr efengyles Seion, i fynydd uchel," fel y gallasai fod yn alluog i barotoi tŷ i'r Arglwydd, yn mhen y mynyddoedd, yn gyrchnod i'r bobloedd gasglu ato. Dywed Esaiah y buasai "llongau" yn foddion i ddwyn meibion Seion o bell, a'u harian hefyd, a'u haur gyda hwynt, i enw yr Arglwydd dy Dduw." Mewn llong yr wyf fi yn myned, yn mhlith dros 300 o frodyr a chwiorydd anwyl; a thua Seion yr ydym yn hwylio; ac yr ydym yn myned mewn llawenydd ac hyfrydwch, fel y rhag ddywedodd y prophwyd yn union am danom, "A gwaredigion yr Arglwydd a ddeuant i Seion â chaniadau o lawenydd tragywyddol ar eu penau;" "goddiweddant lawenydd ac hyfrydwch, a thristwch a galar a ffy ymaith." Yr

Arglwydd a'n llwyddo i gyrhaedd pen ein taith yn ddiogel, fel yr adeiladom deyrnas Dduw yn fwy nag erioed.

Trwy ddaioni yr Arglwydd, mi a gefais y fraint o bregethu yr efengyl yn nghyflawnder ei bendithion, fel ei hadferwyd i Joseph, gweledydd mawr y dyddiau diweddaf, am dros wyth mlynedd, ar hyd deau a gogledd Cymru. Pregethais yr efengyl ar gost fy hun am amser; pregethais yr efengyl hefyd ar gost y byd, trwy fyned i'w plith heb bwrs nac ysgrepan, yn enw yr Arglwydd, i ddywedyd wrthynt fod Duw wedi sefydlu ei deyrnas ar y ddaear am y tro diweddaf yn yr oes hon, trwy weinidogaeth angylion, a thrwy ei lais o'r nefoedd, a thrwy ysbryd y brophwydoliaeth, sef yr Ysbryd Glân, yr hwn a gaiff y sawl a gredo, a edifarhao, ac a gymmero ei fedyddio er maddeuant pechodau, a derbyn arddodiad dwylaw yr henuriaid; ac yna efe a gaiff gyfranogi o'i ddoniau ysbrydol. Y mae pawb ag sydd wedi ufyddhau â'u holl galon i athrawiaeth y Saint, mewn atebiad i'w gweddiau, wedi cael sicrwydd iddynt eu hunain, gan yr Arglwydd, trwy gael doniau yr Ysbryd Glân, fod eu gwaith yn ymuno â Saint y Dyddiau Diweddaf yn gymmeradwy gan y Creawdwr; ac fe gaiff pawb yr unrhyw sicrwydd ar eu hufydd-dod i grefydd y Saint â'u holl galon. Yr wyf fi yn gwybod mewn gwirionedd a sobrwydd, trwy dderbyn yr Ysbryd Glân mewn atebiad i'm gweddi, mai unig eglwys y Duw byw ar y ddaear, yw Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf; am hyny, ufyddhaed pawb i athrawiaeth y Saint, fel y darparont eu hunain i gyfarfod ag ail ddyfodiad Mab y Dyn. Fe wel y cenedloedd a'u breninoedd arwyddion ei ddyfodiad, ond fe gymmerant eu twyllo a'u dallu gan eu doethion a'u rhai deallus, mai dygwyddiadau fydd arwyddion dyfodiad Crist. O chwi, breswylwyr y ddaear, cofiwch fod gwaith eich doethion, a'ch offeiriaid, a'ch pregethwyr, yn dywedyd wrthych, "Tangnefedd a diogelwch," yn un o arwyddion ail ddyfodiad Crist. Nid â yr oes hon heibio hyd oni welir yr Iesu yn dyfod ar gymylau y nef (ar warthaf y cenedloedd anufydd, fel gwewyr esgor ar un a fo yn feichiog), mewn gogoniant, "gyda'i angylion nerthol, a thân fflamllyd, gan roddi dïal i'r sawl nid adwaenant Dduw, ac nid ydynt yn ufyddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist." Cofied pawb na ddiddymir Saint y Dyddiau Diweddaf oddiar y ddaear, ond cynnyddant fwy-fwy o hyd, hyd nes y llanwont y ddaear â gwybodaeth o'r Arglwydd;

o herwydd y mae Duw wedi dywedyd hyny trwy enau ei hen brophwydi, ac wedi ei ail-ddywedyd o'r nefoedd yn yr oes hon. Am hyny, bobloedd, ystyriwch beth yr ydych yn ei wneuthur, rhag eich cael yn ymladd yn erbyn Duw.

Pregethais yr efengyl hefyd ar gost y Saint, i'r Saint ac i'r byd; a thrwy i mi wneuthur y cynghorion a roddwyd i mi, fe ddarfu i'r Arglwydd fy llwyddo yn mhob peth. Nis anghofiaf byth y caredigrwydd mawr a gefais gan y Saint anwyl, a chan gyfeillion hawddgar; mi a weddiaf drosoch yn uchelderau Seion.

Dymunwn i bob un yn yr offeiriadaeth gilio oddiwrth ddrygioni, a rhoi dylanwad i'r naill y llall, a dyrchafu y naill y llall, nid yn mhresennoldeb eu gilydd, eithr yn absennoldeb eu gilydd. Yr hwn sydd am gael ei ddyrchafu, dyrchafed ei frawd; ac na feddylied neb y cyll ei ddylanwad ei hun, trwy roddi dylanwad i'w frodyr. Yr hwn a ddarostyngo ei hun, a ddyrchefir; a'r hwn a ddyrchafo ei hun, a ddarostyngir.

Gwrandawed pawb ar lais ei lywydd yn y wir offeiriadaeth, yn enwedig ar Lywydd y Cynnadleddau Cymreig a'i gynghorwyr; gwnewch eu cynghorion yn ngwyneb pob peth, a'r Arglwydd a'ch llwydda yn ysbrydol a thymmorol, yn ei amser da ei hun.

Anwyl Saint, byddwch yn ewyllysgar i wneyd yr holl gynghorion a rydd y wir offeiriadaeth i chwi; gwnewch eich goreu i dreiglo gwaith Duw yn ei flaen, yn nghanol pob cyfyngder a thlodi, a chwi a gewch eich gwaredu o Babilon yn amser da ein Duw, a'ch gwobrwyo ar eich canfed yn y byd hwn, a bywyd tragywyddol yn y byd a ddaw, os parhewch yn ffyddlawn hyd y diwedd.

Saint anwyl a ffryndiau, ffarwel i chwi 'nawr,<br>
'Rwy'n myned i hwylio dros ddyfnfor tra mawr,<br>
Er myned i Seion, lle dywed fy Nuw,<br>
Ca'r cyfiawn yn ddiogel eu cadw yn fyw.<br>
O ffarwel, 'rwy'n myned, gan ddysgwyl ryw bryd,<br>
Eich gweled yn Seion fel teulu yn nghyd.

Saint anwyl a ffryndiau, ffarwel i chwi'n hy,<br>
O gwnewch y cynghorion a roddwyd i chwi;<br>
A gwnewch eich dyledswydd yn ddiwyd bob awr,<br>
A deuwch i Seion yn lluoedd tra mawr;<br>
O ffarwel, 'rwy'n myned, gan ddysgwyl ryw bryd,<br>
Eich gweled yn Seion fel teulu yn nghyd.

Yr eiddoch yn Nghrist,

*Liverpool, Chwef.* 9, 1852. ELIEZER EDWARDS.

# CYFARWYDDIADAU I YSGRIFENU I'R WASG.

[Allan o "Ramadeg Caledfryn."]

WRTH ysgrifenu i'r Wasg dylid gofalu am beidio dodi y llinellau yn rhy agos i'w gilydd. A lle byddo brys yn ofynol, ar ran yr Argraffydd, gwell peidio ag ysgrifenu ar ddau du i'r ddalen, bydd yn haws rhanu y gysgrif (*copy*) rhwng y Cysodwyr felly er cael y gwaith allan yn fuan. Er mwyn hwylusdod gwell tori y papur o faintioli cymedrol; sef, pob llen bedwar-plyg i bedwar o ddarnau; a'r llen hir i wyth o ddarnau. Doder y rhif 1, 2, 3, 4, &c. naill ai ar y gongl aswy uchaf, neu yn y gwaelod. Gwell gan rai gael y rhif yn ngwaelod y papur, a gellir felly ddodi llinyn drwy y gongl uchaf ar yr aswy i ddal y darnau ynghyd. Os na fydd yr efrydydd ieuanc yn deall y trefniant o atalnodi yn dda, gadawed hyny i'r Argraffydd. Ond dylid cofio am i bob brawddeg gael ei dechreu gyda llythyren benigol; a phob difyniad o waith rhyw awdwr arall.

Gofaler yn neillduol am ysgrifenu pob geiriau perthynol i'r celfyddydau a'r gwyddoriaethau yn eglur; a phob enwau dynion a lleoedd.

Tyner llinell o dan pob gair y dymunir iddo fod mewn llythyrenau Italaidd—ac os byddir yn dewis cael geiriau mewn llythyrenau penigol, tyner dwy linell er cael llythyrenau penigol mân, a thair llinell er cael llythyrenau penigol mwy. Ond goreu pa leiaf a arferir o honynt i'r awdwr ei hun ac i'r argraffydd hefyd.

Os byddir yn dewis gwneud dau neu dri Gwahanran (*Paragraph*) o un a fyddo wedi ei ysgrifenu yn lled hir, doder yn niwedd y frawddeg, lle y dymunir i'r gwahaniad fod, Ymsangau gefn i gefn fel hyn ] [. Yna gwneir y cyfnewidiad heb ychwaneg o drafferth.

Gocheler llawer o nodau cyfeiriol yn ngodre y dail, er eu bod yn cael eu harfer gan awdwyr o enwogrwydd. Heblaw eu bod yn gwneud gwaith yr Argraffydd yn ddrutach, y maent yn boenus i'r darllenydd. Os bydd eisiau egluriadau helaeth a manwl ar ryw bethau fyddo yn nghorff y gwaith, doder hwynt yn niwedd y llyfr gyda'u gilydd. Os na fydd Cysodwyr yn bur gynefin â'r llawysgrif, y mae yn gofyn cymeryd cryn drafferth i ysgrifenu yn eglur. Eglurder yw y cwbl a ofynir.

Doder llinell o amgylch pob peth na fyddir yn dymuno iddo gael ei argraffu; arbeda hyny lawer o ddyryswch ac o anghysur.

Os byddir am i'r enw ymddangos drwy y wasg ysgrifener o yn ofalus rhag camgymeriad.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Na phriodwch ond er mwyn cariad; ond edrychwch eich bod yn caru yr hyn sydd hawddgar.

Y tri pheth hyn a ddylai gwraig fod, a'r tri pheth hyn ni ddylai gwraig fod—

Gwraig a ddylai gadw'i hamser, 'n debyg fel gwna cloc y dre',
Ond ni ddylai byth i adael pawb i'w chlywed fel efe.
Y wraig a ddylai, fel y falwen, gadw at ei thŷ yn glos,
Ond peidio'i gario ar ei chefn, fel gwna'r falwen, ddydd na nos.
Dylai fod fel careg adsain 'n ateb pan ofynir peth,
Ond peidio mynu'r gair diweddaf, fel gwna hono yn ddifeth.

T. H.

---

Taliadau o Chwef. 6 hyd Chwef. 19.—Sir Fynwy, £4; Sir Gaerfyrddin, £19; Morganwg Orllewinol, £1 18s; Sir Benfro, £1; Dyffryn Conwy, £1 11s; Dowlais, £1 6s $0\frac{1}{2}$c; Aberaman, £1 13s 6c; Pontytypridd, £1 11s 2c; Cwmbach, £1 10s; Georgetown, £1 3s; Merthyr, £2.—Cyfanswm, £36 12s $8\frac{1}{2}$c.

Llyfr Mormon.—Dymunwn hysbysu dosparthwyr Llyfr Mormon y bydd yr elw o'r 20fed rhifyn i'r diwedd, yr un fath â'r Udgorn; ac ar y cyfan, bydd yr elw yn y Llyfr Mormon Cymraeg, i'r holl ddosparthwyr, yn fwy nag eiddo yr un Seisnig.

"E. J."—Gwell iddo dalu dwy geiniog am gludiad ei ofyniadau, a danfon ei enw priodol, cyn dysgwyl am atebion.

"T. D."—Nis gwyddom ni am un newyddiadur Cymraeg gwell nâ Seren Cymru, yr hon a gyhoeddir yn Nghaerfyrddin; os ydych am ein cynghor ni, derbyniwch hono.

"Byr ei Ddeall."—Gofyna eglurhad ar Act. iii, 22,—"Yr Arglwydd eich Duw a gyfyd i chwi Brophwyd o'ch brodyr, megys myfi: arno ef y gwrandewch yn mhob peth a ddywedo wrthych." (Gwel hefyd Deut. xviii, 15.) Y prophwyd a feddylir yw Iesu Grist, ac nid neb arall, fel y gellir gweled wrth Act. iii, 20—22. Gobeithiwn nad oes neb mor hurt â meddwl mai at Joseph Smith y cyfeirir; canys nid "o'ch brodyr" (sef yr Iuddewon) y cyfododd efe, eithr o'r cenedloedd.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 5.] MAWRTH 6, 1852. [CYF. IV.

## SWYDD CYNGHORWR.

[Allan o'r "Millennial Star."]

YN gymmaint â bod y gofyniad canlynol wedi ei ofyn i ni, yr ydym yn ei ateb yn y dull cyhoeddus hwn, fel y gallo pawb ag sydd yn dal perthynas ag ef, gyfranogi o'r wybodaeth a roddir.

"Pa beth yw swydd Cynghorwr? Os bydd Cynghorwr mewn Cangen neu Gynnadledd yn anghytuno â'r Llywydd a'r Cynghorwr arall, yngbylch rhyw bethau, a ydyw yn gyfreithlawn iddynt gael eu pasio heb ei gydsyniad ef, a golygu ei fod ef yn cael ei alw yn gyfrifol mewn rhan am yr hyn a weithredir gan Lywyddiaeth y cyfryw? A ddylai yr achos gael ei benderfynu gan awdurdodau uwch, ai peidio?"

*Ateb.*—Swydd Cynghorwr i Lywydd yn yr Eglwys yw bod yn unol ag ef yn holl achosion yr Eglwys y gelwir ef i lywyddu arni, fel y byddont un—Y LLYWYDDIAETH; cyd-ymddyddan ag ef a chyfranu iddo bob gwybodaeth a fyddo yn dal cyssylltiad â lleshad y gwaith a ymddiriedwyd i'w ofal, ag y byddo efe (y Cynghorwr) yn feddiannol arni; crybwyll am bob mesurau wrth y Llywydd ag a ymddangosant yn llesol neu fanteisiol i'r achos; a rhoddi iddo y cyfryw gynnorthwy ag a fyddo yn angenrheidiol i gario allan ei benderfyniadau trwy ymgynghori, pregethu, ysgrifenu, argraffu, a phob moddion cyfreithlawn ereill.

Mae yn dygwydd weithiau fod Llywydd, ar ol clywed golygiadau a theimladau ei Gynghorwyr ar ryw bwnc neu bynciau ag a fyddo ganddynt dan ystyriaeth yn derbyn gair yr Arglwydd trwy yr Ysbryd Glân, ac yn gwahaniaethu yn hollol oddiwrth y naill neu y llall, neu oddiwrth y ddau, ac yn dangos y pwnc

mewn llawer gwell goleuni nag a feddyliwyd yn flaenorol; yna, os bydd ei Gynghorwyr yn un yn ysbryd yr Efengyl, groesawant y cynghor nefol gyda llawenydd, a theimlant mewn gweithred ac mewn gwirionedd ei fod ef yn gymmaint o Lywydd arnynt hwy ag yw yn Lywydd ar y bobl. Hyn yw natur a gallu yr alwedigaeth o Lywydd yn yr Offeiriadaeth Santaidd,—y mae i lywyddu arno ei hun, ar ei Gynghorwyr, ac ar ei bobl. Efe yw y *pen*: ei Gynghorwyr, megys *breichiau*, a weinyddant gymhorth, meithriniaeth, a chynnaliaeth, fel y byddo y pen yn y sefyllfa oreu a fo posibl i dderbyn dadguddiadau yr Ysbryd, a thrwy hyny wybod pa beth sydd er iachawdwriaeth yr holl gorff; yna y breichiau a'r dwylaw a allant ymestyn ar led, a chyfranu y bendithion hyny i holl ranau y corff, fel y byddo natur yr amgylchiad yn gofyn, fel y byddo ei holl aelodau yn llawn bywyd ac iechyd.

Os bydd unrhyw Gynghorwr yn teimlo yn anfoddlawn i ddwyn cyfrifoldeb ei alwedigaeth, efe a all, wrth gwrs, wrthod gwasanaethu; a phe teimlai fod penderfyniadau ei Lywydd yn anghyfiawn, efe a allai apelio at awdurdod uwch yn yr Eglwys am benderfyniad arnynt. Y mae, o ganlyniad, yn gyfreithlawn i Lywydd benderfynu, fel y cyfarwyddir ef gan ddoethineb yr Ysbryd Glân, pe buasai un o'i Gynghorwyr yn gwahaniaethu oddiwrtho yn ei olygiadau.

---

## SALM GYMREIG.

O, Arglwydd, cyfarwydda fy meddwl mewn myfyrdodau am dy fawr ddaioni, a'th gariad digyffelyb at breswylwyr y ddaear.

Dyrchafa fy mryd uwchlaw pethau darfodedig y ddaear, i synied y pethau hyny sydd yn destun cân yr angylion.

Tithau, fy enaid, bydd ufydd i gael dy arwain ar lwybrau cyfiawnder, ac na rodda ormod o'th sylw ar bethau sydd yn myned heibio.

Y byd a'i fawredd presennol a ddarfyddant; am hyny, fy enaid, ystyria ogoniant y byd a ddaw, a dedwyddwch y sawl a wnel ewyllys yr Arglwydd.

O, mor ffol yw dynion yn gosod eu bryd i ufyddhau i ddiafol, ac esgeuluso gorchymynion Duw, y rhai a ddygant heddwch parhaus i'w mynwesau.

O Arglwydd, a'm Tad oddi uchod, arwain fi i werthfawrogi

dy eiriau, ac i ymhyfrydu yn nghyfiawniad dy ewyllys; bydded ofn dyn yn mhell oddiwrthyf, a'th ofn di yn glynu yn fy nwyfron.

Llewyrched goleuni dy efengyl o flaen fy llygaid, fel y gwelwyf trwy niwl tywyllwch y byd, ac y cyfeiriwyf fy nghamrau tua Seion, cartrefle y pur eu calon, a dinas Duw.

Gogoniant a gwychder Babilon sydd ffiaidd gan fy enaid, ac hiraethu yr wyf am wlad well, a dyfod allan o'i chanol hi. Blinais yn ei chymdeithas, a gwell genyf ymadael o'i chyffiniau.

Am hyny, O Dad tragywyddol, estyn allan dy fraich at y rhai egwan, at y tlawd a'r helbulus, a dwg hwy yn ddiangol drosodd: canys pwy fel tydi a'n cynnalia wrth deithio y môr, ac yn nghanol peryglon yr afonydd.

Tydi sydd yn llywodraethu pob peth, a'r holl elfenau a ymhyfrydant i'th ufyddhau, a dwyn i ben dy amcanion.

O Arglwydd, achub dy bobl i le o ddiogelwch, lle y gellir ymguddio rhag y dymhestl sydd ar ymosod ar y rhai anwir. Saf ar ddeheulaw dy blant, a dynoetha dy fraich ar eu rhan, fel y gwelo ac y rhyfeddo y Cenedloedd.

Gair dy ddoethineb a gadwaf, ac mi a ddysgwyliaf am dy fendithion addawedig: gwn nas peidia yr Arglwydd gyflawni ei air, i'r cyfryw a gadwant ei orchymynion.

Dysg ddoethineb i'th was, fel y byddo ddoeth i wneyd daioni; ac ychwanega ei wybodaeth, fel y dangoso i ereill ffordd eglur at Dduw.

Na âd, O Arglwydd, i'th Ysbryd fod yn absennol o'm teml, eithr tywyned ar fy enaid yn wastadol, ac na chaffed tywyllwch y byd le ynof.

Hyfryd yw genyf ysgrifenu dy air, a chyhoeddi newyddion da Seion yn y wlad y'm ganwyd.

Perlau uchelbris a roddodd yr Arglwydd i mi yn fy nwylaw, a thrwy ei gymhorth ef y dangosais hwynt mewn lliw newydd. Clodforer yr Arglwydd am gofio am danom mewn pryd, cyn y dydd drwg.

O, Saint, cenwch foliant seinber, oblegid yr Arglwydd a fu drugarog wrth eich cenedl: estynodd oleuni tanbaid yn nydd y tywyllwch duaf; a gwaredodd filoedd o deyrnas y diafol, i ryddid preswylwyr Seion.

Gorfoledded fy enaid yn dragywydd yn iachawdwriaeth fy Nuw, a chyduned pawb i glodfori y Goruchaf.

## YR EFENGYL GUDDIEDIG.

"Os cuddiedig yw ein hefengyl ni," medd yr Apostol Paul, "yn y rhai colledig y mae yn guddiedig; yn y rhai y dallodd duw y byd hwn feddyliau y rhai digred, fel na thywynai iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist, yr hwn yw delw Duw" (2 Cor. iv, 3). Nid peth cyffredin yn hanes yr efengyl, yw ei bod yn cael ei chyhuddo o fod yn guddiedig. Mae y mwyrif yn mhob oes yn methu cael eu boddloni ynddi, o herwydd nad yw yn gwneyd ei hun yn ddigon amlwg i'r byd. Mae yr efengyl yn *allu* Duw, ac oblegid fod gallu Duw yn dra gwahanol i allu dynion, y mae yr efengyl yn guddiedig i laweroedd, ac nis gallant ei dirnad. Pa gymmaint o ddynion sydd wedi eu dallu gan dduw y byd hwn, fel na thywyna iddynt lewyrch efengyl Crist! Y mae miliynau o bobl yn ymbalfalu yn y tywyllwch, yn nheyrnas y diafol, fel nas gwyddant ddim am natur goleuni yr efengyl; a phan sonir rhywbeth wrthynt am efengyl Crist yn ei symlrwydd, ymddangosa iddynt yn efengyl guddiedig. Meddyliant nad oes dim dirgelion i fod yn gyssylltiedig ag efengyl yn yr oes hon, na dim gallu Duw; a phan bregethir iddynt efengyl gallu Duw, dywedant y dylent gael gweled arwyddion, o herwydd fod efengyl felly yn guddiedig. Yn awr, y mae yr efengyl yn guddiedig, ond nid yw yn guddiedig i'r rhai ag ydynt yn y goleuni, eithr i'r rhai colledig, ag ydynt wedi eu dallu gan dduw y byd hwn. Pe na buasai dynion wedi eu dallu i'r fath raddau, ni fyddai yr efengyl mor guddiedig iddynt. Y maent yn barnu pob peth wrth y rhithgrefyddau a fyddont hwy wedi gofleidio; ac os na fydd y cyfan sydd yn perthyn i efengyl Crist yn ateb i'w dysgwyliadau hwy, condemniant hi fel yn efengyl guddiedig, yn proffesu yr hyn nad yw erioed wedi ei amlygu, na rhoddi prawf am dano. Ond diolch i Dduw, nad oes achos i neb anobeithio cael gafael yn yr efengyl guddiedig. Gall pawb a ewyllysiont wneuthur ewyllys Duw, ddyfod allan o ganol eu tywyllwch, oblegid y mae Duw yn anfon allan ei weision i gyfarwyddo y cyfryw pa fodd i ddyfod o hyd i'r efengyl guddiedig, fel y canfyddont lewyrch teyrnas y goleuni, lle nad yw yr efengyl yn guddiedig i neb. Nis gall y byd dderbyn Ysbryd Duw, hyd nes y delont i mewn fel plant bychain trwy y porth cyfyng, sef bedydd er maddeuant pechodau; ac felly nis gallant amgyffred gallu Duw, yr hwn yw yr efengyl

guddiedig. Ond pawb ag sydd yn dyfod gyda chywirdeb calon i ymofyn gwirionedd, y mae'r ffordd union yn agor o'i flaen, ac arweinir ef i mewn i deyrnas y goleuni, ac i feddiant o efengyl gallu Duw, yr hon ni fydd guddiedig iddo ef tra y parhao yn ffyddlawn hyd y diwedd. Iddo ef y mae yr addewid o "eglurhad yr Ysbryd Glân," yr hwn a dystia wirionedd crefydd yn fwy effeithiol nâ holl wyrthiau y byd.

Nid rhyfedd fod efengyl Crist yn cael ei herlid yr amser gynt, nac ychwaith yr amser presennol, oblegid y mae yn guddiedig i'r holl rai colledig, y rhai ni fynant y gwirionedd. Ni all neb ddyfod o hyd i'r gwirionedd, heb fod onestrwydd yn ei galon; ac heb yr onestrwydd hwn, y mae yn ammhosibl cael gafael yn y goleuni, neu yn yr efengyl guddiedig. Am hyny, pwy bynag a ewyllysio yn ei galon i feddiannu y gwirionedd, edifarhaed ar frys, a chymmered ei fedyddio er maddeuant pechodau, ac yna efe a dderbynia ddawn yr Ysbryd Glân, yr hwn a eglura iddo allu Duw, neu yr efengyl guddiedig, fel y gallo ei enaid lawenhau yn iachawdwriaeth ei Dduw.

---

## EPISTOL I'R EGLWYS YN NGHYMRU.

Anwyl Saint,—Mae bwriad mawr wedi bod ynwyf i bresennoli fy hunan yn eich plith chwi yn y Cymmanfaoedd a'r Cangenau, ac y mae hiraeth mawr yn ddiammau arnoch chwithau am fy ngweled, a chlywed fy lleferydd, ond nid mwy nag sydd arnaf fi am fod yn eich cymdeithas chwi. Mae gwaith Duw yn fawr, a'r amser yn fyr. Yr wyf wedi bod mor brysur yn ddiweddar gyda gwahanol bethau perthynol i'r Eglwys, fel nad oedd yn bosibl i mi braidd fyned oddi cartref, o herwydd fod cymmaint o lythyron yn dyfod o wahanol fanau, sef o'r America, Liverpool, &c., ynghyd â'r gwahanol Gynnadleddau Cymreig, pa rai oedd yn rhaid eu hateb yn union. Bydded i ewyllys Duw gael ei gwneyd; os yw efe yn gweled mai fel hyn yr wyf yn gwneyd mwyaf o waith ac o ddaioni yn yr amser presennol, dyweded fy mrodyr a'm chwiorydd, Amen. Yr wyf yn gobeithio y gwna yr Arglwydd agor fy ffordd i gael eich gweled chwi oll cyn diwedd yr hâf nesaf. Mae y brawd Davis hefyd yn brysur iawn yn cyfieithu Llyfr Mormon; a bydd y llyfr gogoneddus hwn wedi ei orphen erbyn y 25ain o Ebrill nesaf; ac yr ydym yn gwahodd

holl Lywyddion Cynnadleddau Cymru i Merthyr erbyn yr amser hyny, os bydd eu hamgylchiadau yn caniatâu. Mae y brawd Pugh hefyd yn ei lawn waith, ac yn myned yn mlaen yn llwyddiannus.

Mae y brawd Eliezer Edwards ac Henry Evans wedi myned tua Seion gyda chwmpeini bychan o'r Saint Cymreig; a bydded i'r dynion da hyn fwynhau y wlad, a chaniadau tragywyddol ar eu penau, ynghyd â'r holl ffyddloniaid ag sydd gyda hwy. Mae 57 o Saint o Gymru wedi ymfudo eleni trwy gynnorthwy y Drysorfa Ymfudol Barhaus. Gwelwch wrth hyn fod prophwydoliaethau ein gelynion wedi eu profi yn gau; ac yr ydym yn bwriadu yn y gwanwyn nesaf i ddanfon ychydig o dlodion ffyddlawn, o bob Cynnadledd yn Nghymru; ond pa faint, nis gallwn ateb yn bresennol. Mae hyny yn ymddibynu ar ffyddlondeb y Cynnadleddau, ac wrth eu ffrwythau yr adnabyddir hwy.

O, gyfoethogion ag sydd wedi eich goleuo gan oleuni yr Efengyl, ac wedi dyfod i adnabyddiaeth fod Teyrnas Dduw wedi ei sefydlu am y waith ddiweddaf ar y ddaear, gwrandewch ar ocheneidiau y gweddwon a'r amddifaid, y tlawd a'r anghenus, &c., pa rai sydd hwyr a boreu yn gweddio Duw am iddo eu gwaredu hwy allan o'u cyfyngderau, a chael gwaredigaeth yn Seion; a gwrandewch ar lais Duw, yr hwn sydd yn dywedyd wrthych am drysori yn y Drysorfa hon; ac os gwnewch chwi felly, bydd trysor gwell yn eich aros chwi yn y nef; a chwi a fyddwch fendigedig byth yn Nheyrnas yr Immanuel. Gwrandewch ar lais yr Ysbryd ag sydd yn dywedyd y pethau hyn wrthych. Mae cannoedd eisoes wedi cychwyn ar gost hon, ac y maent yn bendithio enw Duw y dydd heddyw, am drefnu cynllun mor ardderchog â'r Drysorfa hon i'w cludo hwy drosodd i Seion; am hyny, ymdrechwch, y tlodion, cyfoethogion, a phawb yn yr Eglwys hon, i gyflawni bwriadau Duw yn y peth hwn, fel pob peth arall.

Ymdrechwch, frodyr. Mae erlidigaethau mawrion ar gyfodi ar bob tu i ni, ac y mae barnedigaethau Duw hefyd yn nesâu, a bydded i chwi oll gadw y "Gair Doethineb." Nid oes genyf fi ffydd y gall un swyddog yn yr Eglwys hon fod yn llwyddiannus yn ngwyneb yr holl addysgiadau pwysig sydd ar y pwnc hwn. Llawer o ddadleu sydd wedi bod yn mhlith y Saint ar y Gair Doethineb: un yn dweyd ei fod yn orchymyn; na, meddai y

llall, peth sydd rhwng cynghor a gorchymyn ydyw (a pha beth ydyw hyny, nis gwn); yr wyf finnau yn barnu mai cynghor ydyw, meddai arall: dacw y llall yn y dafarn, ei bibell yn ei geg, ac un goes dros y llall, a'i beint o'i flaen, yn dweyd, "Yr wyf finnau yn barnu nad ydyw ddim yn gynghor." Ac yn ngwyneb yr holl bethau hyn, y mae Duw wedi dyfod a thori y ddadl, ac wedi dweyd mai gorchymyn ydyw; ac yna darfydded pob siarad ofer yn eich plith.

Dyma yr haf yn nesâu, a dyma gyfle yn awr i'r offeiriadaeth adnewyddu eu gwaith mewn cyssylltiad â phregethu allan, &c., mewn lleoedd nad oes ystafelloedd; ac yr ydym yn dymuno ar yr holl Henuriaid ag sydd â'u hamgylchiadau yn caniatâu, i fyned allan i'r trefydd a'r pentrefydd, ac i'r wlad oddiamgylch, i achub eneidiau ein cyd-ddynion, ac i sefydlu Eglwysi; cofiwch mai dyma y tymmor goreu a allwn gael yn Mabilon, a bydded i Lywyddion y Cynnadleddau edrych fod hyn yn cael ei gario yn mlaen.

Ychydig o gynghorion etto ar ddyledswyddau y gwahanol swyddogion:—

Dyledswyddau y Diaconiaid.—Bydded iddynt gynnorthwyo yr Athrawon, ac edrych i mewn i amgylchiadau y Saint, megys tlodi, &c.; ac y mae ganddynt hawl, ar yr ochr arall, i edrych a fydd neb yn gwastraffu, &c., a gofalu fod yr holl dlodi yn dlodi cyfreithlawn, ac yn teilyngu cynnorthwy.

Dyledswyddau yr Athrawon yw ymweled â thai yr aelodau yn aml, a gofalu na fyddo dim drygioni yn cael ei gario yn mlaen yn eu plith, eu dysgu hwy i fyw yn dduwiol, a dangos gweithredoedd da o flaen y byd.

Dyledswyddau yr Offeiriaid yw ymweled â thai yr aelodau, eu holi hwy a ydynt yn gweddio yn gyhoeddus ac yn ddirgelaidd, a dwyn ar gof iddynt egwyddorion yr Efengyl, er iddynt gael gweled a ydynt yn y ffydd, &c.

Dyledswyddau yr Henuriaid yw ymweled â thai yr aelodau, dwyn ar gof iddynt mai trwy arddodiad dwylaw yr henuriaid y cawsant hwy ddawn yr Ysbryd Glan, &c., a myned oddi cartref i bregethu, a'r Offeiriaid i bregethu oddi amgylch gartref; a phan fydd rhyw beth allan o le rhwng yr aelodau â'u gilydd, bydded i'r Henuriaid a'r Offeiriaid gydnabod mai nid eu swydd hwy ydyw settlo materion, ond gadael hyny i'r Athrawon, a'r Diaconiaid

i'w cynnorthwyo hwy os bydd anghen. A bydded i chwi ymdrechu gweinyddu yn eich swyddau, fel y byddo i Dduw gael gogoniant oddiwrthych, ac i'r Eglwys gael lles ac adeiladaeth; a bydded i Dduw eich bendithio chwi i'r dyben hyny, yn enw Iesu Grist. Amen.

W. S. PHILLIPS.

14, Castle St., Merthyr Tydfil.

---

## NODIADAU W. GIBSON AR LYFR MORMON.

[Parhad o tud. 47.]

YN bresennol cymmeraf olwg ar rai pethau ereill a gofrestrir yn Llyfr Mormon. Yn nhud. 46, darllenir fod cynbreswylwyr America yn adnabyddus o ysgrifeniadau Moses a'r prophwydi, canys Nephi a ddywed:—"A myfi a ddarllenais iddynt lawer o bethau yr hyn oedd ysgrifenedig yn Llyfr Moses, ond fel y gallwn yn gyflawn eu darbwyllo i gredu yn eu Prynwr, myfi a ddarllenais yr hyn a ysgrifenwyd gan y prophwyd Esaiah." Yn nhud. 11, darllenwn iddynt gymmeryd gyda hwy yr ysgrifeniadau hyny o dir Jerusalem, yn cynnwys pum Llyfr Moses, ac ysgrifeniadau y prophwydi hyd ddyddiau Zedekiah. Cymharer hyn â'r hyn a ganlyn. Mr. C. Colton, yn y gwaith y cyfeiriwyd ato yn barod, pan yn llefaru am yr aberthau, a ddywed, "Ar rai achlysuron byddai yn rhaid i'r aberth nid yn unig fod yn wyn, ond yn unlliw ei flew, a byddai unrhyw fath o fai yn ddigonol i'w gondemnio." Efe hefyd a ddywed, tra y canant ac y dawnsiant o amgylch i'w haberthau, y santaidd enw Hebreig Je-ho-vah, a ellir yn hawdd ei ddeall, a'i wahaniaethu; y mae ganddynt hefyd yr enw Hebreig A-la-heem, mewn ffurf sylweddol, yn gymhwysedig at yr Ysbryd Mawr, ac yn eu caniadau cyssegredig Hal-e-liw-ia yn fynych a glywir mor berffaith ag mewn unrhyw gôr Cristionogol; y mae ganddynt hefyd lestr cyssegredig, neu Arch y Cyfammod, yr hwn a ddefnyddiant ar rai achosion, yr hwn a berchid gyda'r anrhydedd mwyaf crefyddol.

Yn nhraethawd M. M. Noah, yr hwn a gyhoeddwyd yn New York, yn y fl. 1837, ynghylch fod yr Indiaid Americanaidd yn deilliaw o ddeg llwyth colledig Israel, ac yn mhlith ereill gwelwn ef yn dyfynu yr awduron canlynol. Mr. Adair, yr hwn ar ol iddo roddi nifer o eiriau Hebraeg arferedig yn eu mysg hwy, a ddywed:

—"Mae gan yr Indiaid eu prophwydi, a'u harchoffeiriaid, yr un fath ag a feddai yr Iuddewon, ac nid o ddetholiad byrbwyll, ond wedi eu dewis gyda phwyll allan o'r dynion doethaf a'r rhai mwyaf pwyllog; a hwy a ordeiniant eu harchoffeiriaid trwy enneiniad; ac y mae ganddynt yn eu cyssegrau le cyffelyb i'r lle santeiddiolaf yn y deml. Y prif ddewin, neu yr archoffeiriad, a wisga beth mewn cyffelybrwydd i'r ddwyfroneg gynt, cragen wen pysgodyn (*a white conch shell*), wedi ei haddurno fel ag yr addurnid yr Urim gyda'r meini gwerthfawr, ac yn lle y dalaeth aur a wisgai y Lefiad ar ei dalcen, yr Indiad a wisga ei aeliau â thorch o blyf alarch, ac a wisga siobyn gwyn o blyf, yr hwn a eilw efe yn *Yatira*. Mae gan yr Indiaid eu Harch, yr hon a gariant bob amser gyda hwy i frwydr, pa un a wylir yn ofalus. Y mae yn deilwng o sylw na fyddant byth yn rhoddi yr Arch ar y ddaear, ar dir bryniog, lle y byddai cyflawnder o geryg mawrion, ond rhoddant hi i orphwys ar y gwastad-diroedd anial (*prairies*), ar foncyffion byrion, ar ba rai hefyd yr eisteddant hwythau. Y gosodiad hwn o eiddo Mr. Adair mewn perthynas i'r Arch, a gadarnheir gan amryw deithwyr. Major Long, teithiwr diweddarach, yn ei hynt tua'r Mynyddoedd Creiglyd, a ddywed am yr Arch, "y rhoddid hi yn syth, ac ni oddefid iddi byth gyffwrdd â'r ddaear. Traddodiad a'n hysbysa fod tri o wahanol bersonau yn cael eu tueddu gan gywreinrwydd i chwilio dirgelwch y gragen, pa rai a gospwyd yn uniongyrchiol am eu halogiad â llwyr ddallineb." Hyn, gan hyny, sydd dystiolaeth gadarnhaol fod yr Indiaid yn adnabyddus â chyfraith Moses, ac i ddangos fod ganddynt hwy hefyd ryw wybodaeth am y Testament Newydd, dyfynaf yr hyn a ganlyn allan o waith a argraffwyd yn Llundain 200 mlynedd yn ol, gan un Matthew Costerden, o dan yr enw *Christianographie*,—"Ymddengys fod yr Americaniaid yn meddu peth gwybodaeth am Grist, cyn dyfodiad yr Yspaeniaid atynt. Francis Lopez de Comora a ddywed yn ei ysgrif, fod y bobl hyn yn anrhydeddu'r groes. Myfi a ddarllenais hefyd yn Postel, fod rhyw Quezel Covatsian wedi ei ddilladu â gwisg wen, yn orchuddedig â chroesau cochion, yn pregethu ofn un Duw, ac y busai ad-daliad o gospedigaeth neu wobr dragywyddol ar ol y fuchedd hon."

Gomora, yn ei hanes am yr Indiaid, yn desgrifio cynnadledd Nicaragua gyda Gil Goncales, sydd yn arwain y penaeth hwn i mewn fel yn rhoddi amryw o ofyniadau i'r Yspaeniaid. Gofynai

a oedd y Cristionogion yn hysbys o'r diluw mawr yr hwn a lyncodd y ddaear, dynion ac anifeiliaid? Pa un a oedd y ddaear i gael ei chwyldroi, neu y ffurfafen i gael ei symud, pa beth oedd yr anrhydedd ddyledus i'r tri unol Dduw, pa le yr elai eneidiau ar ol marw, a pha beth a fydd eu gwaith?

Y peth nesaf y sylwaf arno yw fod Llyfr Mormon yn rhoddi cyfrif am y ddwy genedl wahanol o bobl, y rhai a breswyliasant gyfandir America; pobl y genedl gyntaf a ddaethant oddiwrth dwr Babel, a'r llall sydd ran o had Jacob, y rhai a ddaethant o Jerusalem, yn nyddiau Zedekiah, brenin Judah. M. Noah, yn ei draethawd ar darddiad yr Indiaid Americanaidd, ar ol ymdrechu profi fod yr Indiaid presennol yn ddisgynyddion o Israel, mynega fod rhai o'r hen adfeilion a gafwyd yno yn rhwym fod o yn waith pobl ereill; efe a ddywed:—"Ond pwy oedd y Tultequans a'r Azeteques, sylfaenwyr yr amherodraeth hon yn America? Pwy a adeiladodd pyramidiau Cholula a dinas Palenque? *Nid yr Iuddewon.* Yma yr ydym yn cael gŵyriad hynod oddiar y llwybr ar ba un y cychwynasom yn y dechreu, (yr hyn oedd profi yr Indiaid yn Israeliaid); darganfyddiad arall tra hynod, yn cael ei nodi hefyd gan ddygwyddiadau nid mwy syn na rhyfeddol." Yma, etto, y mae tystiolaeth Llyfr Mormon yn cael ei chadarnhau.

Yn Llyfr Mormon, o tud. 503 i 509, cawn hanes am genedl ddrwg ac eilun-addolgar, y rhai a aberthent wragedd a phlant i'w heilunod, a dinystriad cenedl gyfan ganddynt, oddiar y ddaear trwy ryfel.

Er cadarnhau hyn rhoddaf enghraifft o'r "New York Sun," am Mehefin 8, 1848. "Mae Yucatan yn fedd i genedl fawr ag sydd wedi diflanu yn ddiarwybod, ac heb adael unrhyw hanes ar ei hol. Y mae pob coedwig yn mynwesu gweddillion mawreddog o demlau mawrion, wedi eu cerfio drostynt ag arwydd-luniau ffydd ymadawedig, ynghyd â dinasoedd ardderchog, palasau gwych a charneddi pa rai, yn eu hunigedd galarus, a ardystiant ardderchogrwydd medr eu hadeiladwyr. Maent yn feddrodau i genedl ardderchog, ond heb ddwyn un enw na beddargraff. Y braw neillduol gyda pha un y cilia yr Indiad oddiwrthynt, pan yn adrodd rhyw draddodiad cymmysgedig o ddiddymiad corff cyfan o bobl trwy waed a thân, gan ei gyndeidiau—cenedl ffyrnigaidd ac ysglyfaethgar. yn ymhyfrydu mewn aberthau dynol—yw y

cyfan a eill dychymmýg ddweyd am y modd y cafodd trigianwyr cyntefig Yucatan, eu croesi allan, yn un cyfangorff, o dudalen bodoliaeth."

Yn Llyfr Mormon, tud. 501, cawn allan y dywedir mai y lle y safai y dinasoedd a'r lle y diddymwyd y bobl hyny, oedd y fynedfa gul yr hon a arweiniai i'r tir deheuol (neu yr hwn a rana ogledd a deheubarth America); yn awr, edrychwch ar eich darlunlenau, a chwi a ganfyddwch yno Yucatan, lle y mae adfeilion y dinasoedd hyn yn ganfyddadwy, a'r lle yn ol y dyfyniad a gymmerwyd allan o'r *New York Sun*, ag mae traddodiadau yr Indiaid o hyd yn cadarnhau gwirionedd Llyfr Mormon; ar y 346 dud. o Lyfr Mormon, canfyddwn hanes y modd y byddent yn amgau eu dinasoedd. "A bu i Moroni yn ddibaid wneuthur parotoiadau i ryfel, neu amddiffyn ei bobl yn erbyn y Lamaniaid, oblegid efe a archodd iddynt gloddio y ddaear yn bentyrau o amgylch ogylch i'r holl ddinasoedd, trwy yr holl dir a feddiennid gan y Nephiaid." Wrth ddarllen y dudalen nesaf, cewch allan fod y dinasoedd y siaredir am danynt, eu bod wedi eu hamgau, yn ngogledd-barth America.

Yn awr, rhoddaf ddyfyniad allan o waith ar hynafiaethau yr America, gan Josiah Priest, yr hwn, pan yn llefaru am y moel-gloddiau hyn, a ddyfyna dystiolaeth Mr. Breckenridge, yr hwn a ddywed, "Y twmpathau hyn yn gystal â'r amddiffynfeydd, ydynt i'w gweled tua chyssylltiadau yr holl afonydd ar hyd y Mississippi, yn y cyflead mwyaf dewisol am drefydd, ac yn y darnau eangaf o dir ffrwythlon; mae eu rhifedi, feallai, uwchlaw tair mil; a'r lleiaf ddim llai nag ugain troedfedd o uchder, a thri chant mewn amgylchedd." Yn y gwaelod, efe a ddywed, yn mhellach, "Yr wyf wedi fy mherffaith foddloni fod dinasoedd cyffelyb i'r rhai hyny yn yr hen Fexico, o amryw gannoedd o filoedd yn bodoli yn y wlad orllewinol hon." Fel hyn y mae rhan arall o Lyfr Mormon yn cael ei gadarnhau.

Yn nhud. 141 o Lyfr Mormon, darllenwn am ran o'r Nephiaid, (pa rai oeddynt yn wynion) yn gadael eu brodyr, ac yn myned ar eu penau eu hunain; felly ni ddyfethwyd mo honynt hwy, pan syrthiodd y rhan arall o honynt, trwy ddwylaw y dynion cochion, y Lamaniaid.

Mewn dyfyniad a gymmerwyd o'r *American Sun*, am Dachwedd 26, 1846, dywedir fod gwaith wedi ei gyhoeddi yn ddiwedd-

ar, yn mha un yr oedd hanes llawn am genedl o anwariaid gwynion a elwid Munchees, y rhai y dywedir am danynt yn ddiau eu bod mewn bodoliaeth mewn dyffryn yn mysg Sierra Los Mimbros. Yma, drachefn, fe'i cadarnheir. Y darllenydd a wel fod nifer fawr o'r darganfyddiadau hyn a wnaed wedi eu cyhoeddi ar ol i Lyfr Mormon gael ei argraffu; a phob darganfyddiad a wneir sydd brawf arall o'i wirionedd; ac nid oes cymmaint ag un darganfyddiad a wnaed, yn gwrthddywedyd un gosodiad o'i fewn; y mae yn cytuno â hwynt; y mae yn cytuno â thraddodiad; cyduna â rheswm; cyduna â'r Beibl; mae ei brophwydoliaethau yn cael eu cyflawni; ei athrawiaethau ydynt bur; a gall miloedd dystio am Lyfr Mormon, mai gwir yw.

Er lles i'r Saint, dywedaf y gellwch ganfod llawer o'r dyfyniadau blaenorol yn fwy cyflawn mewn rhai o gyfrolau blaenorol y "MILLENNIAL STAR."

(*I'w barhau.*)

---

## PENNILLION.

CHWI, Gymry hoff, O dewch mewn hedd
I deyrnas Dduw, cawn ddwyfol wledd;
Er gogoneddu Brenin Nef,
Rhaid dod yn ddeiliaid iddo Ef.

Mae'n galw ar holl ddynol ryw,
Gan dd'wedyd, Dewch i deyrnas Dduw,
Sef trwy ei weision; felly mae
Yn rhoi dadguddiad yn ddiau.

O dewch i'w deyrnas Ef yn glau,
Cewch yma'n rhad eich llwyr ryddhau;
Mae'r Ysbryd Glân i'w gael i chwi,
'Run modd ag mae ef genym ni.

Llefaru â thafodau wnawn,
Cyfieithad trwy'r un Ysbryd gawn;
Prophwydol ddawn gawn ganddo Ef,
Ein Tad a'i rhydd i ni o'r nef.

Cyfrana in' ei air o'r nef,
O'r ddaear hefyd daeth ei lef,

'Rhon fu'n guddiedig amser maith ;
Ond amser ei dadguddiad ddaeth.

Cydunwn oll i seinio clod,
Mae'n iachawdwriaeth wedi dod ;
Mae Duw yn galw—clywch ei lef,
Ar bawb i ddod i'w deyrnas ef.

Ymdrechwn oll o unol fryd,
Er dwyn i'w deyrnas bawb o'r byd ;
Mae Duw am wel'd y byd o'u bodd,
Yn dod i'w ganlyn Ef ar goedd.

Mawrhawn, O Saint, ein braint o'r bron,
Gan ymdrech yn yr Eglwys hon ;
Hyd nes cyrhaeddom ben ein taith,
Gwobrwyir ni yn ol ein gwaith.

GEORGE WATKIN.

---

## GWYBODAETH.

[Parhad o dud. 59.]

GAN fod gwybodaeth yn dda mewn ystyr dymmorol, pa faint mwy mewn ystyr ysbrydol. Y mae dynion wedi cael eu dysgu fod Duw mewn bodoliaeth, ac ei fod yn anghyfnewidiol, heb gysgod troedigaeth, a bod ganddynt hwythau eneidiau sydd i gyd-oesi â thragywyddoldeb, naill ai mewn gwynfyd neu mewn adfyd, a bod Iesu Grist, Mab Duw, wedi bod ar y ddaear yn trefnu llwybr neu ffordd, fel y gallai dynion, trwy rodio ar hyd y cyfryw, gyrhaedd y gwynfyd nefol, a chael eu gwared rhag yr adfyd tragywyddol, a bod yr Iesu anghyfnewidiol wedi tystio am y llwybr hwnw, mai cul yw, ac mai ychydig sydd yn rhodio ar hyd-ddo, a bod ffordd arall yn arwain i ddystryw, yr hon sydd yn llydan, a bod llawer yn rhodio ar hyd-ddi. Yn awr, pan wêl dyn ei sefyllfa bechadurus, y mae yn teimlo awydd i chwilio am y llwybr cul, yr hwn sydd yn arwain i'r bywyd ; a chan ei fod wedi clywed mai un ffordd sydd, ac os na chaiff afael yn hono, fod ei fywyd mewn perygl, pa beth a fyddai yn fwy o fendith i'r dyn, yn y sefyllfa hon, nâ gwybodaeth? Dychymmygaf ei weled yn cymmeryd ei daith ar foreu Sabboth i dref gyfagos, i'r dyben o gael cyfarwyddyd i gael gafael ar y llwybr cul. Dacw ef yn nesu at

ddrws rhyw gapel, lle y clywa y pregethwr yn dweyd wrth bechaduriaid, "Nid oes cymmaint o wahaniaeth pa ffordd i rodio, neu pa sect i ymuno â hi, er myned i'r nefoedd, ond myned fel bydd eich cydwybod yn eich arwain." Yna mae y truan yn cofio y gair, "Cul yw y ffordd," gan droi ymaith mewn gofid. Ust, dacw ef yn gwrandaw ar bregethwr arall yn awr, yr hwn sydd yn dweyd, "Yr wyf fi yn credu ac yn gobeithio mai taenellu babanod sydd yn iawn, gan dderbyn y credinwyr trwy ddeheulaw cymdeithas i'r deyrnas." Wel, wel, y mae y truan yn sefyll mewn syndod! a'i wyneb yn gwelw-lasu, o herwydd y mae yn cofio yr hyn a ddysgodd yr Iesu, "Y neb a gredo ac a fedyddir," ac nid, "Y neb a fedyddir ac a gredo." Pa le y mae yn awr? O, y mae yn gwrandaw ar ddyn enwog iawn yn awr, yr hwn sydd yn bloeddio yn ddychrynllyd, gan ddweyd, "Fod rhai wedi eu hethol i wynfyd, ac ereill i boenau, a hyny mewn modd diammodol." Os oedd y dyn mewn gofid o'r blaen, y mae yn llawer gwaeth yn awr; ond er cysur iddo fe gofiodd wahoddiad yr Iesu, "Deuwch ataf fi bawb sydd yn flinderog." Yn awr, y mae yn gwrandaw ar un arall, ag sydd yn groes i'r rhai blaenorol, yr hwn a saiff ar làn yr afon, gan ddweyd, "Rhaid i bawb gymmeryd eu bedyddio trwy drochiad genym ni, er bod yn gadwedig;" ac wedi iddo holi y pregethwr a'i aelodau, nid oeddynt hwythau yn gwybod eu bod ar y ffordd iawn; ac felly y mae yn cael ei dristâu yn fwyfwy o hyd, nes y mae yn barod i ganu fel yr hen brydydd,

> "O am grefydd wirioneddol,
> Ar y ffordd wrth fyn'd yn mlaen."

Nid oes achos darlunio ei deimladau gofidus o eisieu gwybodaeth, o herwydd mae pob dyn ystyriol yn, neu wedi bod yn brofiadol o honynt. Y mae yn awr yn nesu at ryw bregethwr gwael ei olwg, yr hwn a ddiystrir gan bawb, ac y mae yn clywed y geiriau hyn yn dra aml yn ei bregeth, "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau, a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân, yn awr megys cynt; a'r neb a ddelo yn ddyscybl i Grist, a gaiff wybodaeth am y ddysgeidiaeth." Bellach, dacw y dyn yn llamu mewn gorfoledd wrth glywed y fath addewidion gogoneddus. Dacw ef yn ufyddhau; a thrwy osodiad dwylaw, wele ef yn derbyn yr Ysbryd Glân, ïe, a derbyn gwybodaeth ei fod ef a'i frodyr crefyddol o Dduw, a

bod yr holl fyd yn gorwedd mewn tywyllwch. Yn awr, mae y gân wedi newid; yn lle "*O am* grefydd wirioneddol," dywedir "*Clod am* grefydd wirioneddol," &c. O fy enaid, gwerthfawroga *wybodaeth*, canys da yw. A'r sawl ddadleua yn erbyn gwybodaeth, sydd yn dadleu yn erbyn rheswm, yn erbyn yr ysgrythyrau, ie, ac yn erbyn y Duw Hollwybodol.

*Tre-Sior, Merthyr.* THOMAS HARRIES.

---

## ANERCHIAD.

TON—"Difyrwch Gwyr Harlech."

O NA fyddai yn fy ngallu
Ddwyn fy hen gyfeillion mwyngu,
Yn gytun i gyd-addoli
'N enw'r Iesu mâd,
Gyda'n gilydd yn ddidrafferth,
'Nol y dull a'r cynllun perffaith,
A chyd-rodio'r lleoedd diffaeth
Tua'r hyfryd wlad;
Heb ryw amrysonau,
Na thraws gyndyn ddadleu,
Dewch heb fraw, a rhowch law,
Dewch gyda mi yn ddiau;
O na charech etifeddu
Ysbryd Duw, 'rhwn sydd oleuni;
Fe wna hwn eich dedwyddoli,
Medd ein Duw a'n Tad.

Fe dderbynia'r pur o galon
Drwy yr Ysbryd fwyn fendithion,
Yn ngwir eglwys Crist yn gysson,
'Nol yr addewid wiw;
Boed i chwithau gywir gredu
Ddidwyll eiriau pur yr Iesu,
Ac ufydd-dod gwnewch ei roddi,
Fel y byddoch fyw;
Yna cewch yn ddiau
Hyfryd fwyn bleserau:
Bywyd yw Ysbryd Duw,
'Rhwn rydd wahanol ddoniau.
O boed i chwi ddwys ystyried
Beth a roddwyd gan ein Ceidwad,
Er i ddynion gwael, amddifad,
Ddod dan nodded Duw.

DAVID EVANS.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Le Livre De Mormon.—Mae yr Henuriad J. Taylor wedi newydd anrhegu Llywyddiaeth y Cynnadleddau Cymreig â phob o gopi o Lyfr Mormon yn yr iaith Ffrengaeg. Mae wedi ei ddwyn drwy y wasg yn neillduol o gampus, ac y mae wedi ei ranu yn bennodau ac adnodau, yn gyffelyb i'r Beibl, ond nad ydynt mor fân a digyssylltiad ag y maent yn hwnw. Bydd cyfleusdra i gael y llyfr uchod yn fuan oddiwrth y Llywydd Phillips, a diau y bydd llaweroedd yn hoffi ei gael.

Ymfudaeth.—Yn y ddwy longaid Saint ag ydynt wedi newydd hwylio o Liverpool, y mae dau gant a hanner o eneidiau wedi eu danfon allan gan y Drysorfa Ymfudol Barhaus; a thrwy fendith Duw, dygir hwynt drosodd yn uniongyrchol i Ddyffryn a Dinas y Llyn Halen Fawr. Yr ydym yn llawenhau i weled cynnifer yn cael eu gwaredu i Seion, trwy ymdrech gyntaf y drysorfa dan sylw; ac nid yw hyn ond ychydig o'r blaenffrwyth. Bu y llong ddiweddaf a aeth allan, sef "Ellen Maria," yn cludo y Saint o'r blaen; ac y mae yn myned allan y tro hwn dan lywyddiaeth yr Henuriad Isaac C. Haight, yr hwn sydd i arwain y Saint i Kanesville, ac yna i ddychwelyd yn ol at ei lafur yn y wlad hon. Bydd rhywun arall yn eu harwain oddiyno i'r Dyffryn. Gyda y cwmpeini hyn yr hwyliodd y brawd Eliezer Edwards a'r brawd Henry Evans, ynghyd ag amryw o Lywyddion Cynnadleddau yn Lloegr. Yn yr un prydnawn ag yr aeth yr "Ellen Maria" allan, cyrhaeddodd naw o Saint o Denmark a Switzerland, ar eu ffordd i'r America, mewn gobaith o fod mewn pryd i fyned gyda y llong uchod. Gallwn weled yn bresennol fod cenedloedd y ddaear yn dechreu myned i fyny i Seion, yn ystlysau y gogledd, i addoli Duw. Y mae eisoes Saeson, Cymry, Ffrancod, Daniaid, Swediaid, Germaniaid, ac ereill, wedi dechreu eu taith tua'r gorllewin pell, i gyfranogi o fendithion y Saint yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd.

---

Cymmanfaoedd.—Bydd Cymmanfa Cynnadledd Sir Frycheiniog, yn Waenhelygen, ar y 4ydd o Ebrill; Sir Fynwy, yn Nhredegar, ar yr 11eg; Morganwg Orllewinol, yn Abertawy, ar y 18fed; Morganwg Ddwyreiniol, yn Merthyr, ar y 25ain; Sir Gaerfyrddin, yn Llanelli, ar yr 2il o Fai; Sir Aberteifi, ar y 9fed; Penfro Ogleddol, ar yr 16eg; Penfro Ddeheuol, ar y 23ain.

Taliadau o Chwef. 20 hyd Mawrth 4.—Sir Fynwy, £2; Sir Frycheiniog, £1 12s 6c; Sir Aberteifi, £2; Morganwg Orllewinol, £3 1s; Sir Fon, 14s 6c; Sir Ddinbych, £1 5s; Dinas, 13s 7½c; Pontytypridd, 11s; Gog, 3s 6c; Rymni, 16s; Merthyr, £1 5s; Pendaren, 19s 3c; Ynysgou, 2s 6c; Gostwng, 6s.—Cyfanswm, £15 9s 10c½c.

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 6.] MAWRTH 20, 1852. [CYF. IV.

## SAINT DUW YN ERBYN Y BYD.

GAN F. D. RICHARDS.

"GWYN eich byd pan y'ch casâo dynion, a phan y'ch didolant oddi wrthynt, ac y'ch gwaradwyddant, ac y bwriant eich enw allan megys drwg, er mwyn Mab y dyn. Byddwch lawen y dydd hwnw, a llemwch: canys wele, eich gwobr sydd fawr yn y nef; oblegid yr un ffunud y gwnaeth eu tadau hwynt i'r prophwydi.

"Gwae chwi pan ddywedo pob dyn yn dda am danoch: canys felly y gwnaeth eu tadau hwynt i'r gau brophwydi."—IESU GRIST.

"Chwi odinebwyr, a godineb wragedd, oni wyddoch chwi fod cyfeillach y byd yn elyniaeth i Dduw? pwy bynag gan hyny a ewyllysio fod yn gyfaill i'r byd, y mae yn elyn i Dduw."—IAGO IV, 4.

MAE yn rhaid fod y myfyriwr mwyaf diofal yn hanes pobl Dduw, yn hysbys o'r casineb parhaus ag sydd erioed wedi cael ei ddangos tuag atynt gan y byd. Hyn sydd un o'r nodau mwyaf amlwg trwy ba rai y gellir gwahaniaethu Saint Duw oddiwrth y lliaws crefyddwyr gan y rhai yr amgylchynir hwynt. Pe buasai cant o wahanol grefyddau yn cael eu dysgu, nid oes achos i'r hwn a rodio y ffordd, pe byddai ynfyd, gyfeiliorni ynghylch pa un sydd yn iawn. Hi yw y grefydd hono ag sydd leiaf yn y ffasiwn—leiaf poblogaidd. Na cheisiwch y wir grefydd a gwir weision Duw yn mhlith y dorf anystyriol. "Y peth sydd uchel gyda dynion, sydd ffiaidd gerbron Duw,"—Luc xvi, 15. Felly y dywedodd yr Iachawdwr. Drachefn, "Ewch i mewn trwy y porth cyfyng; canys eang yw y porth, a llydan yw y ffordd sydd yn arwain i ddystryw, a *llawer* yw y rhai sydd yn myned i mewn trwyddi; oblegid cyfyng yw y porth, a chul yw y ffordd, sydd yn arwain i'r bywyd, ac *ychydig* yw y rhai sydd yn ei chael hi,"—Math. vii, 13, 14. Mae Saint Duw a'r wir grefydd wedi bod yn alltudion o'r

byd ffasiynol. Ni fuont erioed yn boblogaidd er pan y mae Satan wedi cael llywodraeth ar y ddaear hon, ac ni fyddant byth yn boblogaidd hyd nes y byddo drygioni wedi ei ysgubo ymaith oddiar wyneb y ddaear, a Satan wedi ei rwymo fel nas gallo demtio plant dynion. Eglwys Dduw ydyw y bobl hyny "yn mhob man y dywedir yn eu herbyn."

Dywed St. Paul, "Pawb a'r sydd yn ewyllysio byw yn dduwiol yn Nghrist Iesu, a erlidir,"—2 Tim. iii, 12. Gall y duwiolion yn mhob oes a goruchwyliaeth dystio fod hyn yn wir. Gwyddant oddiar brofiad chwerw fod y byd yn eu casâu hyd at angeu. Dywedodd un mwy nâ Phaul unwaith wrth ei ddyscyblion, "A châs fyddwch gan bawb er mwyn fy enw i: ond yr hwn a barhao hyd y diwedd, efe a fydd cadwedig. * * * Nid yw y dyscybl yn uwch nâ'r athraw, na'r gwas yn uwch na'i arglwydd. Digon i'r dyscybl fod fel ei athraw, a'r gwas fel ei arglwydd. Os galwasant berchen y tŷ yn Beelzebub, pa faint mwy ei dylwyth ef?"—Math. x, 22, 24, 25. Drachefn, "Os yw y byd yn eich casâu chwi, chwi a wyddoch gasâu o hono fyfi o'ch blaen chwi. Pe byddech o'r byd, y byd a garai yr eiddo; ond oblegid nad ydych o'r byd, eithr i mi eich dewis allan o'r byd, am hyny y mae y byd yn eich casâu chwi. Cofiwch yr ymadrodd a ddywedais i wrthych, Nid yw y gwas yn fwy nâ'i arglwydd. Os erlidiant fi, hwy a'ch erlidiant chwithau; os cadwasant fy ngair i, yr eiddoch chwithau hefyd a gadwant. Eithr hyn oll a wnant i chwi er mwyn fy enw i, am nad adwaenant yr hwn a'm hanfonodd i,"—Ioan xv, 18—21.

Mae yr uchod yn ddywediadau a phrophwydoliaethau ar egwyddor. Ond meddylier ein bod yn dyfod at fater o ffaith. Gallwn roddi ffeithiau ysgrythyrol Asiaidd, a ffeithiau ysgrythyrol Americanaidd, a ffeithiau oddiar brofiad personol, yn eglurhad ar yr egwyddor dan sylw. Y mae dau dyst yn well nag un, eithr yn ngenau tri o dystion y mae pob gair yn safadwy.

Ni a gawn y *Beibl* yn dyst cyntaf.

Fe edrychodd yr Arglwydd ar Abel oblegid ei gyfiawnder, a chyffrôdd hyn eiddigedd ei frawd Cain, yr hwn, gan ei fod yn ddyn drygionus, a gyfododd i fyny mewn digofaint ac a laddodd Abel. Gen. iv.

Cafodd enaid cyfiawn Job ei boenydio o ddydd i ddydd gan ymarweddiad ffiaidd y drygionus, ac mor wrthwynebol oedd

trigolion Sedom a Gomorrah i Dduw, gwirionedd, dadguddiad, a chyfiawnder, fel nas gallai angylion aros un noswaith yn y dinasoedd hyny heb gynnyg eu hanmharchu a'u cam-drin. Gen. xix.

Cafodd Joseph pur ei galon, oblegid iddo gael gwybodaeth gan Dduw trwy freuddwydion, &c., ei alltudio yn greulawn o'i wlad enedigol, a thŷ ei dad, a'i werthu i ddwylaw estroniaid; ac o herwydd na roddai ei gorff i drythyllwch, efe a fwriwyd yn ngharchar, ac o'r braidd y diangodd gyda'i fywyd. Gen. xxxvii, a xxxix.

Ymlidiwyd Dafydd gan Saul yn gyffelyb i fwystfil o'r goedwig, 1 Sam. xix hyd xxvii.

Y tywysogion Benjaminaidd a fwriasant Jeremiah i ddaeardy ffiaidd, ac a gadwasant fwyd oddi wrtho. Jer. xxxvii a xxxviii.

Y Chaldeaid annuwiol a geisiasant gymmeryd ymaith fywyd Shadrach, Meshach ac Abednego. Dan. iii.

Rhaglawiaid a thywysogion beilchion y Mediaid a'r Persiaid a ymdrechasant ddadymchwelyd Daniel, a thrwy gydfwriad cynllwyngar achosasant iddo gael ei fwrw i ffau y llewod. Dan. vi.

Ceisiodd Haman ddrygionus ddyfetha Mordecai, a'r holl Iuddewon ag oedd yn ofni Duw. Esther iii, v, a vi.

Ioan Fedyddiwr a wrthodwyd gan y Phariseaid a'r cyfreithwyr, a garcharwyd gan Herod, ac yn ddiweddaf a dorfynyglwyd trwy annogaeth Herodias. Marc vi.

Iesu Grist oedd "ddyn gofidus a chynnefin â dolur." Pan yn ddwy flwydd oed, rhoddodd Herod orchymyn iddo gael ei ladd. Eithr efe a ddiangodd heb ei niweidio. Math. ii. Yr oedd yn cael ei wylied yn barhaus gan Phariseaid, archoffeiriaid, ac henuriaid gwyneb hir, y rhai a geisient yn awyddus bob cyfleusdra i'w wneuthur yn droseddwr am air. Cyhuddent ef o fwrw allan gythreuliaid. Math. xii, 24. Yr oedd pobl gyfrifol a defosiynol, a llefaru yn gyffredinol, yn gwrthod ymgyfeillachu ag ef. Yr oedd ef dan yr anghenrheidrwydd o ymgymmysgu â'r dosparth isaf o gymdeithas, ac am hyn y gelwid ef "yn ddyn glwth ac yfwr gwin, cyfaill publicanod a phechaduriaid." Math. xi, 19. Yn fynych nid oedd ganddo le i osod ei ben i lawr, a threuliai nosweithiau yn yr awyr agored. O'r diwedd bradychwyd ef trwy gusan, a daliwyd a dygwyd ef gerbron Pontius Pilat, a gau-gyhuddwyd ef o amryw droseddau, gwirioneddol neu ffugiol.

Ni chafwyd dim bai ynddo. Eithr y bobl a waeddasant—"Croeshoelier ef. Yna efe a fflangellwyd ac a draddodwyd i gael ei groeshoelio. Y milwyr Rhufeinig a'i diosgasant ef, ac a roisant am dano fantell o ysgarlad, ac a blethasant goron o ddrain ac a'i gosodasant ar ei ben, a chorsen yn ei law ddehau, ac mewn gwawd ufydd-dod plygasant eu gliniau, gan ddywedyd, "Henffych well, Brenin yr Iuddewon!" Ar ol hyn, hwy a'i diosgasant ef o'r fantell ysgarlad, poerasant arno, ac a'i tarawsant, rhoddasant iddo winegr yn gymmysgedig â bustl i'w yfed, ac a'i croeshoeliasant dan y cyhuddiad—"HWN YW IESU, BRENIN YR IUDDEWON." Math. xxvii.

Cymmerwyd Stephan gerbron yr henuriaid a'r ysgrifenyddion, wedi ei gyhuddo o gabledd a theyrn-fradwriaeth, bwriwyd ef allan o'r ddinas, a llabyddiwyd ef i farwolaeth. Act. vi, a vii.

Cafodd Paul ei garcharu a'i osod gerbron Ffelix, ac Agripa, Act. xxiv hyd xxvi. Llabyddiwyd ef unwaith, curwyd ef â gwialenod dair gwaith, a fflangellwyd ef bum gwaith. 2 Cor. xi.

Yr oedd y Saint cyntefig yn cael eu herlid yn erwin iawn. Yr oeddynt yn cael eu poenydio, eu gwatwar, eu fflangellu, eu rhwymo, eu carcharu, eu llabyddio, eu llifio yn y canol, a'u lladd â'r cleddyf; crwydrent oddiamgylch mewn anialwch a mynyddoedd, a llochesent yn ogofeydd y ddaear, wedi ymwisgo mewn crwyn defaid a chrwyn geifr, gan fod yn amddifad, cystuddiol, a drwg eu cyflwr. Heb. xi.

*Llyfr Mormon*, yn ail dyst.

Y prophwyd Ether a ddiystyrwyd gan y bobl, ac a fwriwyd allan o'u mysg. Efe a ymguddiodd yn ngheudod craig y dydd, lle y gorphenodd ei gof-lyfr. Yn y nos efe a arferai fyned allan i weled y dinystr a ddaeth ar y bobl oblegid eu drygioni. Tud. 543, o'r ail argraffiad Ewropaidd.

Brodyr Nephi a gydfwriadent yn ei erbyn ef, ac a'i rhwymasant â rheffynau, fel y gadewid ef yn yr anialwch i gael ei ddyfetha gan fwystfilod gwylltion. Trwy allu Duw efe a dorodd ei rwymau, a chalonau ei frodyr a feddalhawyd am amser. Tud. 13. Eithr hwy a'u casâent ef oblegid ei gyfiawnder, ac yn d diweddaf ceisiasant gymmeryd ymaith ei fywyd, yn gymmaint ag y gorfu iddo ffoi gyda'i deulu a'i gyfeillion i'r anialwch. Tud. 65.

Y brenin Noah a achosodd i Alma gael ei fwrw allan, ac a

ddanfonodd ei weision ar ei ol i'w ladd, o herwydd iddo bleidio y prophwyd Abinadi. Eithr diangodd Alma. Tud. 179.

Abinadi a rwymwyd ac a fwriwyd yn ngharchar, am fynegi fod Messiah i ddyfod. Llosgwyd ei groen â ffagodau, arweiniwyd ef at y pawl, a dyoddefodd ferthyrdod, oblegid na alwai ei eiriau yn ol. Tud. 179.

Gideon oedranus a laddwyd â'r cleddyf, oblegid gair yr Arglwydd. Tud. 210.

Cafodd Alma ac Amulek eu rhwymo â rheffynau, eu lluchio â cheryg, eu carcharu, a chael bod heb ddigon o fwyd, tra yr oedd llawer o'u brodyr a'u chwiorydd yn cael eu taflu yn greulawn i'r tân a'u llosgi i farwolaeth. Tud. 249.

(*I'w barhau.*)

---

## ALLWEDD I DDADGUDDIAD ST. IOAN.

GAN JOSEPH SMITH.

GOFYNIAD.—Pa beth yw y môr o wydr a lefarir gan Ioan, yn y bedwaredd bennod, a'r chwechfed adnod o'r Dadguddiad.

Ateb.—Y ddaear ydyw, yn ei sefyllfa santeiddiedig, anfarwol, a thragywyddol.

G.—Pa beth ydym i feddwl wrth y pedwar anifel y llefarir am danynt yn yr un adnod?

A.—Ymadroddion ffigyrol ydynt, yn cael eu defnyddio gan y Dadguddiwr Ioan, wrth ddesgrifio y nefoedd, Paradwys Duw, dedwyddwch dyn, ac anifeiliaid, ac ymlusgiaid, ac ehediaid yr awyr; yr hyn ag sydd yn ysbrydol, yn nghyffelybiaeth yr hyn ag sydd yn dymmorol; a'r hyn ag sydd yn dymmorol, yn nghyffelybiaeth yr hyn ag sydd yn ysbrydol; ysbryd dyn yn nghyffelybiaeth ei berson, fel hefyd y mae ysbryd yr anifel, a phob creadur arall ag a greodd Duw.

G.—A yw y pedwar anifel yn cael eu cyfyngu i anifeiliaid neillduol, neu a ydynt yn arddangos dosparthiadau neu rywiogaethau.

A.—Cyfyngir hwynt i bedwar anifel neillduol, y rhai a ddangosid i Ioan er gosod allan ogoniant y dosparthiadau o fodau, yn eu trefn neu eu cylch arfaethedig o fodoliaeth, yn y mwynhad o'u dedwyddwch tragywyddol.

G.—Pa beth ydym i ddeall wrth y llygaid, a'r adenydd, ag oedd gan yr anifeiliaid?

A.—Mae eu llygaid yn arddangosiad o oleuni, a gwybodaeth; hyny yw, y maent yn llawn gwybodaeth; ac y mae eu hadenydd yn arddangosiad o allu, i symud, i weithredu, &c.

G.—Pa beth ydym i ddeall wrth y pedwar Henuriad ar hugain, y llefarir am danynt gan Ioan?

A.—Yr ydym i ddeall mai yr Henuriaid hyn a welodd Ioan oeddynt Henuriaid a fuont yn ffyddlawn yn ngwaith y weinidogaeth, ac wedi marw; y rhai a berthynent i'r saith eglwys;—a'u bod y pryd hyny yn Mharadwys Duw.

G.—Pa beth ydym i ddeall wrth y llyfr a welodd Ioan, yr hwn oedd wedi ei selio y tu allan â saith sêl?

A.—Yr ydym i ddeall ei fod cynnwys ewyllys ddadguddiedig, dirgeledigaethau, a gweithredoedd Duw; pethau cuddiedig ei oruchwyliaeth Ef ynghylch y ddaear hon yn ystod y saith mil blynyddoedd o'i pharhad, neu ei bodoliaeth dymmorol.

G.—Pa beth a ddeallwn wrth y saith sêl â pha rai y seliwyd ef.

A.—Yr ydym i ddeall fod y sêl gyntaf yn cynnwys pethau y mil blwyddi cyntaf, a'r ail hefyd yr ail mil blwyddi, ac felly yn mlaen hyd y seithfed.

G.—Pa beth ydym i ddeall wrth y pedwar angel, y llefarir am danynt yn y 7fed bennod, a'r adnod 1af, o'r Dadguddiad?

A. Yr ydym i ddeall eu bod yn bedwar angel wedi eu danfon allan oddiwrth Dduw, i'r rhai y rhoddir awdurdod dros bedwar bàn y ddaear, i achub bywyd a dinystrio; dyma y rhai sydd ganddynt yr efengyl dragywyddol i'w chyflwyno i bob cenedl, llwyth, iaith, a phobl; a chanddynt awdurdod i gau y nefoedd, i selio i fywyd, neu fwrw i waered i froydd tywyllwch.

G.—Pa beth ydym i ddeall wrth yr Angel yn dyfod i fyny o'r dwyrain, yn y 7fed bennod o'r Dadguddiad, a'r ail adnod?

A.—Yr ydym i ddeall mai yr Angel yn dyfod i fyny o'r dwyrain, yw efe i'r hwn y rhoddir sêl y Duw byw, dros ddeuddeg llwyth Israel; am hyny, y mae efe yn gwaeddi ar y pedwar angel ag sydd ganddynt yr efengyl dragywyddol, gan ddywedyd, Na ddrygwch y ddaear, na'r môr, na'r prenau, nes darfod i ni selio gweision ein Duw ni yn eu calonau; ac os derbyniwch ef, hwn yw yr Elias ag oedd i ddyfod i gasglu ynghyd lwythau Israel ac adferu pob peth.

G.—Pa amser y mae'r pethau a lefarir yn y bennod hon i gael eu cyflawni?

A.—Maent i gael eu cyflawni yn y chwechfed fil, neu agoriad y chwechfed sel.

G.—Pa beth ydym i ddeall wrth selio y cant a phedwar a deugain o filoedd, allan o holl lwythau Israel; deuddeg mil allan o bob llwyth?

A.—Yr ydym i ddeall fod y rhai hyny a selir yn Archoffeiriaid, wedi eu hordeinio i urdd santaidd Duw, i weinyddu yr Efengyl dragywyddol; canys hwynt hwy yw y rhai a ordeinir allan o bob cenedl, llwyth, iaith, a phobl, gan yr angylion i ba rai y rhoddir awdurdod dros holl genedloedd y ddaear, i ddwyn cynnifer ag a ddeuant, i Eglwys y Cyntaf-anedig.

G.—Pa beth ydym i ddeall wrth udganiad yr udgyrn, a grybwyllir yn yr 8fed bennod o'r Dadguddiad?

A.—Yr ydym i ddeall megys ag y gwnaeth Duw y byd mewn chwech diwrnod, ac ar y seithfed dydd iddo orphen ei waith a'i santeiddio, ac hefyd ffurfio dyn allan o bridd y ddaear: felly hefyd, yn nechreuad y seithfed fil blwyddi, yr Arglwydd Dduw a santeiddia y ddaear, ac a orphena iachawdwriaeth dyn, ac a farna bob peth, ac a wareda bob peth, oddieithr yr hyn na osododd efe yn ei allu, pan fyddo wedi selio pob peth, hyd ddiwedd pob peth; ac udganiad udgyrn y saith angel, yw parotoad a gorpheniad ei waith, yn nechreu y seithfed fil blwyddi;—parotoad y ffordd o flaen amser ei ddyfodiad.

G.—Pa bryd y cyflawnir y pethau ag ydynt yn ysgrifenedig yn y 9fed bennod o'r Dadguddiad?

A.—Y maent i gael eu cyflawni ar ol agoriad y seithfed sel, o flaen dyfodiad Crist?

G.—Pa beth ydym i ddeall wrth y llyfr bychan yr hwn a fwytawyd gan Ioan, fel y crybwyllir yn y 10fed bennod o'r Dadguddiad?

A.—Yr ydym i ddeall mai cenadwri ydoedd, neu benodiad iddo ef, i gasglu llwythau Israel; wele, dyma Elias; yr hwn megys ag yr ysgrifenwyd, a raid ddyfod ac adferu pob peth.

G.—Pa beth ydym i ddeall wrth y ddau dyst, yn yr unfed bennod ar ddeg o'r Dadguddiad?

A.—Dau brophwyd ydynt ag sydd i gael eu cyfodi i'r genedl Iuddewig yn y dyddiau diweddaf, yn amser yr adferiad, ac i

brophwydo i'r Iuddewon, ar ol iddynt gael eu casglu, ac adeiladu dinas Jerusalem, yn ngwlad eu tadau.

[Allan o'r "Pearl of Great Price."]

---

## CYNGHORION YNGHYLCH CANU.

Y mae ar ein meddwl er ys tro bellach i roddi ychydig o gynghorion i'r Saint ynghylch canu, ac yn bresennol gwnawn gynnyg ar eu hysgrifenu.

1. Cofiwch gymmeryd eich llywyddu bob amser mewn canu, yn gystal ag yn mhob peth arall; ac er nad yw pob llywydd yn gantwr da, etto y mae yn meddu Yspryd sydd i lywodraethu pob peth a wnelo y Saint dan ei ofal.

2. Cofiwch wrth ganu roddi y gogoniant i Dduw, yn lle ei gymmeryd eich hunain.

3. Gofalwch eich bod yn canu er adeiladaeth i'ch gilydd, ac er adeiladaeth i bawb a'ch clywo; "rhoddwch â'r tafod ymadrodd deallus," ac na foddwch y synwyr, trwy ymdrechu canu gormod o leisiau. Os bydd gormod o ganu pethau gwahanol ar yr un pryd, mae yn anhawdd deall yr hyn a genir; am hyny, goreu i gyd pa symlaf y byddo y tônau, fel y gallo pawb ddeall.

4. Gofaler fod yr hymn a genir yn cael ei darllen allan, neu o leiaf gofalwch ddywedyd pa le y mae yn y llyfr, a darllen y llinell gyntaf, fel y gallo pawb gyduno yn y gân. Mae yn drueni gweled mwy na hanner cynnulleidfa yn methu cael gafael yn yr hyn a genir.

5. Cofiwch nad yw canu yn rhywbeth ag sydd yn perthyn yn unig i ryw ddwsin o frodyr. Dyledswydd pob perchen tafod i'w moliannu yr Arglwydd; am hyny, dylai pawb ymdrechu canu ei oreu, yn y fath fodd na fyddo yn rhwystr i'r blaenoriaid canu.

6. Cofiwch fod llyfrau hymnau wedi eu darparu er mwyn yr holl Saint, a dylai pawb eu dwyn hwynt i'r cyfarfodydd, yn lle eu gadael gartef yn segur. Byddai hyny yn fendith i lawer, pe na fyddai yn ddim arall ond dysgu darllen. Buasai edrych i'r llyfr hymnau bob tro y cenir, yn llawn mor effeithiol â'r ysgol boreu y Sul, er mwyn dysgu darllen.

7. Peidiwch gwneuthur gormod o arferiad o dônau rhy anghyffredin, yn neillduol y rhai hyny a fyddo y gynnulleidfa yn arferol

e chwerthin wrth eu clywed: gofalwch fod y mawl yn cyflawni ei ddyben, fel y byddo pawb yn derbyn lles, ac nid digrifwch.

8. Na feddyliwch o herwydd yr annogir canu cyffredinol, na annogir neb i ganu wrtho ei hun; na, yr hwn sydd ganddo odl neu salm, caned hi yn yr amser at hyny, fel trwy hyny hefyd yr adeilader yr eglwys.

9. Os bydd genych ryw offeryn cerdd, byddai yn gynnorthwy mawr; ond gofalwch na fyddo gormod i foddi y geiriau a genir. Peth arall sydd yn boddi y geiriau, yw fod y cantorion yn eu seinio yn groes i'w gilydd, ac yn groes i'r llyfr hymnau.

10. Gwnewch ddefnydd o hyn hyd nes y cewch ragor.

---

## GAIR DUW.

Gair Duw, pa mor bwysig yw? Y mae mor bwysig, fel y mae yn rhaid i'r hîl ddynol ei gadw er bod mewn heddwch â Duw, fel y dywedodd yr Arglwydd Iesu, "Nid trwy fara yn unig y bydd byw dyn, ond trwy *bob gair* a ddaw allan o enau Duw." Pan y mae yr Arglwydd yn llefaru ei air wrth ddyn, y mae yn dysgwyl cael llwyr ufydd-dod iddo. Dywed dynion yn yr oes hon fod gair Duw yn bwysig, ond y mae gwaith mawr cael ganddynt i gredu mai trwy "bob gair a ddaw allan o enau Duw y bydd byw dyn." Ond yr wyf fi, pan yn darllen yr ysgrythyrau, yn deall fod golwg fawr gan yr Arglwydd ar bob gair a lefara. Wrth sylwi mor foreu â'n tad Adda, fe lefarodd yr Arglwydd ei air wrtho, gan ddywedyd, "O bob pren o'r ardd gan fwyta y gelli fwyta ond o bren gwybodaeth da a drwg na fwyta o hono; oblegid yn y dydd y bwytei o hono, gan farw ti a fyddi farw." Dyna Duw wedi llefaru ei air, a phe byddai ond llefaru fel yna wrth grefyddwyr yr oes hon, elent i esbonio ei air, fel y gwnaeth y diafol, gan ddywedyd, "Nid yw yn rhesymol i feddwl fod Duw yn bwriadu condemnio dyn, os byddai iddo wneuthur peth mor lleied â dim ond bwyta ffrwyth y pren; y mae Duw yn fôd trugarog, &c." Ond pa fodd y bu? a oedd Duw yn ddifater o'r gair a lefarodd? O na, cynwired ag i Adda droseddu, cyflawnodd Duw ei air: "nid dyn yw Duw i ddywedyd celwydd, na mab dyn i edifarhau." Llefarodd Duw ei air wrth feibion Israel yn fynych; a phan yr oeddynt yn rhodio yn ol y gair

hwn, yr oedd bendith y Goruchaf arnynt; ond, o'r ochr arall, pan wrthodent rodio a chadw gair Duw, yr oedd newyn, heintiau, a marwolaeth yn teyrnasu yn eu plith. Pan yr oedd Duw yn rhoddi gorchymyn i Noah adeiladu arch, cawn weled ei fod yn dysgwyl cael gan Noah i wneuthur yr arch yn hollol yn ol y portread ag oedd yn roddi iddo. Nid dweyd yr oedd wrtho am wneyd arch fel ag yr oedd Noah yn ewyllysio; O na, hollol wahanol. Beth, ai ni chawsai Noah ddewis y coed? O na, "Gwna i ti arch o goed Gopher," meddai Duw. Fe gawsai Noah wneuthur ei gynllun ei hun arni, wrth gwrs? O na, "yn gellau y gwnai yr arch." Beth hefyd? "a phyga hi oddi fewn ac oddi allan â phyg." Wel, a gawsai Noah ddewis ei hŷd, ei lled, a'i huchder? Dim o hyny ychwaith. "Trichan cufydd fydd hŷd yr arch, deg cufydd a deugain ei lled, a deg cufydd ar hugain ei huchder;" ac hyd y nod fe ddywedodd, "Gwna ffenestr i'r arch, a gorphen hi yn gufydd oddi arnodd;" ac ni chawsai osod y drws ond yn y fan yr oedd Duw yn dweyd wrtho, sef "gosod ddrws yr arch yn ei hystlys." Ac yr oedd Duw yn dywedyd wrtho am gymmeryd gydag ef i'r arch "ehediaid, anifeiliaid, ac ymlusgiaid, wrth eu rhywogaeth;" nid y nifer a ewyllysiai Noah, ond "dau o bob rhywogaeth." "Felly y gwnaeth Noah;" gwelwch, "yn ol yr hyn *oll* a orchymynasai Duw iddo, felly y gwnaeth efe." Ac yna cafodd Duw ei foddloni gymmaint ynddo, nes y dywedodd wrtho, "Tydi a welais yn gyfiawn ger fy mron yn yr oes hon." Yn awr, gwelwn, gan nad yw Duw yn llefaru geiriau ofer, ei fod yn dysgwyl cael cyflawn ufydd-dod i'w air yn yr hyn oll a lefarodd; a thrwy i Noah gadw ei holl air, fe'i "gwnaethwyd yn etifedd y cyfiawnder sydd o ffydd." Nid yw gweision na phlant Duw yn cael eu cynllun eu hunain, ond fel y bydd yr Arglwydd yn eu cyfarwyddo; "canys ni wna efe ddim heb ei ddadguddio i'w weision y prophwydi." Pe bai Duw ond llefaru ei air yn yr oes hon wrth lawer o ddynion, fel y llefarodd wrth y llywydd Moses gynt, buasent yn barod a gwaeddi, "Caled yw'r ymadrodd, a phwy a ddichon sefyll?" Wel, beth oedd hyny? Cawn ateb, er mwyn dangos pwysfawrogrwydd gair Duw, ynghyd â'r dull y mae efe yn cario ei waith yn mlaen yn mhob oes a goruchwyliaeth, fel na fyddo neb yn teimlo yn faich wrth glywed cyfraith, neu air yr Arglwydd, yn cael ei draethu. Yr oedd Duw yn ewyllysio i feibion Israel wneuthur arch (sef arch y cyfam-

mod), ac i'r dyben hyny dywedodd wrth Moses y gair, yr hwn oedd, am "gymmerwyd offrwm gan bob gwr ewyllysgar ei galon," yr hyn oedd "aur, arian, a phres, a sidan glâs, a phorphor, ac ysgarlad, a llïan main, a blew geifr, a chrwyn hyrddod yn gochion, a chrwyn daearfoch, a choed Sittim, olew i'r goleuni, llysieuau i olew yr enaint, ac i'r pêr-arogl-darth, meini onix, a meini i'w gosod yn yr ephod, ac yn y ddwyfroneg. A gwnant i mi gyssegr, fel y gallwyf fi drigo yn eu mysg." Beth pe llefarai yr Arglwydd fel yna yn yr oes hon wrth eglwysi dynion, pa fath dderbyniad wyt ti, ddarllenydd, yn feddwl a gai y geiriau hyn ganddynt. Beth bynag am hyny, yr oedd yn rhaid eu cyflawni, cyn rhyngu bodd Duw; ac os darllenir Ecs. xxv, a'r xxvi, ceir gweled yn helaethach etto; yr oedd llwyddiant plant Israel yn ymddibynu ar eu hufydd-dod i'r holl orchymynion hyn. Gallem nodi lluoedd o'r bendithion oedd i blant Duw mewn cyssylltiad ag ufydd-dod i air Duw, a'r melldithion oedd yn dyfod trwy ei dori. Pan ddadguddiodd Duw ei air i Jonah am fyned i Ninefeh i bregethu, fe welodd Jonah y gair yn ormod ei gyflawni; meddyliodd nad oedd y gair yn gymmaint o bwys; penderfynodd Jonah fyned i Tarsis yn ol ei ewyllys ei hun, yn lle myned i Ninefeh, yn ol gair Duw. Ond beth fu y canlyniad? O, fe welodd Jonah, druan, er ei alar, mai peth ofnadwy yw myned yn groes i air y Duw mawr, o herwydd "yr Arglwydd a gyfododd wynt mawr yn y môr, a bu yn y môr dymhesti fawr, fel y tebygwyd y dylliai y llong." Ac O, pwy a all ddesgrifio teimladau Jonah pan ddeffrodd o'i gwsg. Yr oedd hyn yn dystiolaeth iddo ef ac ereill, mai peth ofnadwy yw myned yn groes i air yr Hollalluog Dduw.

Yn awr, ddarllenydd anwyl, pa faint o olwg sydd genyt ar air Duw? a ydwyt wedi dechreu ufyddhau i'w air ef? Nid ffyrdd na meddyliau dyn yw ei air ef; oblegid dywed, "Nid fy ffyrdd i yw eich ffyrdd chwi," pe byddent ddysgawdwyr neu dduwinyddion, "ac nid eich meddyliau chwi yw fy meddyliau i." Wel, pa beth yw ei air i mi? Yn gyntaf, credu yn Iesu Grist; yn ail, edifarhau am dy bechodau; yn drydydd, cymmeryd dy fedyddio yn enw Iesu Grist. Beth yw hyna? Gair Duw ydyw. O, nid oes cymmaint o bwys ar y geiriau yna; ni fydd Duw mor annhrugarog â'm condemnio am beidio ufyddhau i bethau mor lleied. Mor lleied, aie? pa faint llai ydynt nâ bwyta o ffrwyth y

pren? Y mae y naill a'r llall o honynt yn air Duw: "Ni allaf fi gredu," medd y dyn, "fod yn rhaid i mi gredu cyn cael fy medyddio, &c." Y mae cymmaint o raid ag oedd i Noah adeiladu yr arch yn ol y portread a roddodd Duw iddo. "Wel, mi âf fi at ryw sect wahanol i hona, beth bynag." Dos di, os myni: ond cofia dy fod wrth fyned yn tebygu dy hun i Jonah, druan, wrth fyned i un man, a Duw yn dy gyfarwyddo i fan arall; a chofia fod y canlyniad yn bwysig. "A yw cyflawni y geiriau a nodasoch yn ddigon i'm cymmeradwyo gerbron Duw?" Nid yw hyna ond dechreuad ymadroddion Duw; nid ar ran o air Duw y bydd byw dyn, ond ar *bob gair*, nid ag sydd wedi dyfod, ond *a ddaw* allan o enau Duw. "A yw efe yn llefaru yn awr megys cynt?" Ydyw. Peth rhyfedd na chlywswn i ef." Yr wyt yn ei glywed, megys yr oedd dynion yn ei glywed gynt. Nid oedd dynion yn gyffredin yn clywed llais yr Arglwydd yn ddigyfrwng, ond "dadguddio yr oedd i'w weision y prophwydi," megys Noah, Moses, &c.; hwynthwy oedd yn derbyn y gair, a hwythau yn ei drosglwyddo i ereill. Felly hefyd yn yr oes hon. Cofia, ddarllenydd anwyl, fod y gair yn dweyd, "Myfi yr Arglwydd ni'm newidir." "Gwywa y gwelltyn, syrth y blodeuyn, ond gair ein Duw ni a saif byth." Fy nymuniad yw cael y fraint i ymdrechu gyda'r holl Saint i wrandaw ar air Duw, yr hwn sydd fil myrdd gwerthfawrocach nâ'r aur coethadwy, a bod yn wneuthurwr ffyddlawn o hono.

*Tre-Sior, Merthyr.* THOMAS HARRIES.

---

## Y GAIR DOETHINEB.

TON—"Codiad yr Uchedydd."

O SYLWCH, Seintiau glân,
Ar destun hyn o gân,—
Gair ddylem bawb ei gofio yw;
Mae'n rhybydd i bob gradd,
Y cais y byd ein lladd,
Trwy wenwyn marwol o bob rhyw:
O gwrthodwch fyglys, trewlwch,
Ffiaidd y'nt i bob rhyw ddyn,
Dyfroedd twymion, gwirod poethion,
Diodydd cryfion, rhai di-rîn;
A choffi, tê, a gwin,
Nid da i ddyn y'nt hwy, medd Duw.

Na fwytwn gig bob pryd,
Er iachawdwriaeth ddrud,
A nerth ac iechyd i'r holl Saint:
Cawn gerdded bob yr un,
A rhedeg yn ddiflin,
Heb unrhyw boen, na meddu haint;
Cawn ddoethineb mewn rhwyddineb,
Gyda Duw, o'u cadw i gyd;
Cawn drysorau, gwybodaethau,
Rhai cuddiedig iawn i'r byd;
Er lles i'r Saint o hyd;
Ac hefyd eu goruchel fraint.

A'r angel, hyn a wêl,
Yn union pan y dêl,
I beri pla ar ddynol-ryw;
I ffwrdd, i ffwrdd fe â,
Un niwed in' ni wna,
Fe gofia am orchymyn Duw:
O gan hyny, cofiwn barchu,
Ei holl eirchion ef i gyd;
Cywir gadw, nid mewn enw,
'R gair doethineb hwn o hyd;
A Duw o'i râs mewn pryd,
A'n dwg i gyd i'w Seion wiw.

*Graig-ddu.* JOHN RICHARDS.

---

## DARLITHOEDD AR WYRTHIAU.

MAE yn hysbys efallai i lawer o'n darllenwyr fod y Parch. J. Jones, Llangollen, wedi bod yn traddodi nifer o ddarlithoedd ar y pwnc uchod mewn amryw leoedd, ac yn ddiweddaf yn Merthyr Tydfil, lle y cawsom ni y pleser o'i wrandaw, ar y 25ain o Chwefror, ac ar y 3ydd a'r 17eg o Fawrth. Cafodd y ddarlith gyntaf ei hadolygu, yn Neuadd y Cymreigyddion, gan y Llywyd W. Phillips, ar yr 2il o Fawrth, a'r ail ddarlith genym ninnau, yn yr un lle, ar y 9fed a'r 11eg o Fawrth, gerbron cynnulleidfaoedd lliosog. Bu Mr. Jones, yn ei ddarlithoedd, yn ceisio gwrthbrofi y rhan fwyaf o egwyddorion y Saint, a chafodd bob cymmeradwyaeth wrth eu traddodi ag a allai y byd roddi iddo; canys y mae'r byd yn caru yr eiddo. Yn mysg pethau ereill, bu Mr. Jones yn ceisio profi pa beth oedd gwyrth—mai Duw yw ei hunig awdwr—na wnaeth swynwyr yr Aifft wyrthiau—nad oedd prophwyd i fod ar ol y Prophwyd Mawr, sef Crist—fod galwad yr apostolion yn

wyrthiol—nad oedd mwy nâ deuddeg apostol, a bod Paul, nid Matthias, yn lle Judas—fod gwyrthiau Crist a'r apostolion er profi eu danfoniad, ac nad yw gwyrthiau i fod yn ddirgelaidd—dim mwy nâ dau fedydd yr Ysbryd Glan, sef ar y Pentecost, a thŷ Cornelius—fod bedydd yr Ysbryd yn dygwydd pa un a fyddai dynion wedi eu bedyddio ai peidio—nad oes hanes fod neb yn gweddio am y doniau ysbrydol—nad yw Ysbryd Glan yr arddodiad dwylaw i'w gael yn awr—mai dynion ag oedd wedi pechu pechodau neillduol oedd i gael eneinnio ag olew a gosodiad dwylaw—pe buasai pawb yn cael eu hiachâu, ni adawsid Trophimus yn glaf—pechodau barnol oedd y pechodau neillduol hyny, sef pechodau i farwolaeth—fod y dyn a draddodwyd i Satan (1 Cor. v, 1—5) i alw am henuriaid yr eglwys,—nad oes neb yn awr, neu ar ol dinystr Jerusalem, i gael ei daraw â barn, ac am hyny nid eisieu eneinnio, &c.—nad oedd yr arwyddion i ganlyn ond hyd ddiwedd y byd, sef dinystr Jerusalem, a bod yr un "diwedd y byd" yn Heb. ix, 26—fod Iesu Grist yn addaw bod gyda'i ddyscyblion hyd ddinystr Jerusalem, ac mai o hyny allan yr Ysbryd Glân oedd i fod, a bod Crist wedi ymddangos iddynt hyd y dinystr, ac i'r arwyddion a'r gwyrthiau ddarfod yr amser hwnw;—fod 1 Cor. xiii, 8—13, a Eph. iv, 11—14, yn adnodau pendant dros ddarfyddiad gwyrthiau—mai yr hyn sydd berffaith yw yr ysgrythyrau, ac o ganlyniad fod yr hyn sydd o ran wedi darfod, &c. Yn awr, dyna y pethau mwyaf neillduol a fu Mr. Jones yn drafod; ac y mae'r oll o honynt, oddieithr yr adnodau pendant, wedi cael eu gwrthbrofi gan y Saint. Yr adnodau pendant dan sylw fydd y peth nesaf i'r Saint sylwi arnynt, os beiddiwn ddyfod allan, canys y mae Mr. Jones yn bwgwth ein trin yn arw os deuwn allan etto yn ei erbyn. Ymffrostiai Mr. Jones ei fod wedi gorchfygu lluoedd o'n blaen ni, ac y "rhaid bod yn rhywbeth cyn ei gwympo ef." Gwelwn mai Goliath yw efe, ac mai ninnau yw Dafydd bach y bugail, yr hwn a ymddibyna yn ei Dduw, ac yn ei ffon-dafl.

Os cawn gefnogaeth, yr ydym yn bwriadu cyhoeddi nifer o draethodau ar y pynciau uchod, mewn ffordd o adolygiad ar Ddarlithoedd Mr. Jones, ynghyd â sylwadau ar lyfryn y Parch. J. Davies, Llanelli, ar Wyrthiau; ond rhaid i ni orphen Llyfr Mormon yn gyntaf; ac y mae yn dda genym i ddywedyd y gorphenir hwnw tua diwedd Ebrill.

## AMRYWIAETHAU, &c.

**Taith i'r Llyn Halen Fawr trwy Orleans Newydd.**—Llynlleifiad i Orleans Newydd, 5,000 o filltiroedd, gyda hwyllongau, 8 wythnos, 65s. i 80s. Orleans Newydd i St. Louis, 1,200 o filltiroedd, gyda ager-fadau, 8 diwrnod, 8s. i 10s., arlwyadau, 5s. i 10s. y pen. St. Louis i Kanesville, Iowa, 900 o filltiroedd, gydag ager-fadau, 12 diwrnod, 21s., arlwyadau, 20s y pen. Kanesville i Ddinas y Llyn Halen Fawr, 1,031 o filltiroedd, o 45 i 90 o ddiwrnodau; ymddibyna lawer ar gryfder y wêdd, a phwys y llwyth. Certwyn bedair olwyn dda, a phâr o ychain, galluog i gymmeryd gwr a gwraig a thri neu bedwar o blant, gyda chlud o ddeg i bymtheg cant o bwysau dros y gwastadedd mawr, ynghyd â digon o arlwy dros yr holl daith, a gostia oddeutu £55.—*H. Smith Evans's Guide to Emigration Colonies.*

Yr Aifftiaid, yn eu gwleddoedd, er mwyn attal glythineb a meddwdod, a osodent ysgerbwd dyn i fyny yn yr ystafell, â'r geiriau hyn uwch ei phen,—"Cofia hyn a fyddi cyn hir!"

**Ateb yn ei le.**—Fel ag yr oedd ein brawd Dr. L. Richards, ychydig ddyddiau yn ol, yn teithio ar un o reilffyrdd Deheubarth Cymru, yn nghwmnïaeth rhyw barchedig cyfrifol, darfu i hwnw ofyn iddo, "Ai nid *fortune-teller* oedd Joseph Smith?" "Wel, ie," atebodd y Doctor; "canys mi a'i clywais ef fy hun yn dywedyd *fortune* pobl, trwy ddywedyd os edifarhaent am eu pechodau, a chymmeryd eu bedyddio, y derbynient ddawn yr Ysbryd Glan."

**Amser**, amynedd, a diwydrwydd ydynt dri phrif feistriaid y byd,—dygant i ddyn yr hyn oll y mae yn ddymuno; ond y mae gair grwgnachlyd ac annoeth yn fynych yn ei droi o'r ffordd rhag cyrhaedd ei amcanion.

**Ymweliad a Merthyr.**—Darfu y Saint yma gael yr anrhydedd o bresennoldeb y Llywydd F. D. Richards yn eu plith nos Sul a nos Lun wythnos i'r diweddaf. Cyrhaeddodd yma erbyn chwech nos Sul, a chawsom gyfarfod rhagorol iawn yn Neuadd y Cymreigyddion, lle y bu y Dr. Richards ac yntau yn pregethu i'r Saint. Dywedai nad oedd yn meddwl gadael y wlad, heb roddi tro am y Saint Cymreig, y rhai a ystyriai yn bobl mor dda. Cawsom gyfarfod arall yn y Georgetown nos Lun, a boreu dranoeth dychwelodd yn ei ol. Mae yn ddrwg gan y brodyr yn Merthyr nad ellid hysbysu am ei ddyfodiad yn gynt, fel y gallai Saint pellenig gael y cyfleusdra o ddyfod i'w wrandaw.

**Llyfr yr Eglwys.**—Gofyna "J. R." y gofyniad canlynol:—"Y mae ar Lyfr yr Eglwys, 'I ba Gangen' y trosglwyddir personau; a chan fod llythyron cymmeradwyaeth yn eu rhyddhau i uno â'r gangen a fynont, pa beth a wnaf, am nas gwn i ba gangen y byddont wedi myned?" Atebwn, os na all y personau sydd yn symud ddywedyd wrth ymadael i ba gangen y maent yn

myned, dymuner arnynt fod mor garedig ag anfon llythyr yn union pan y byddant wedi ymuno â rhyw gangen arall, pa gangen ydyw, fel y noder hyny ar y llyfr.—Etto, ymddengys fod rhai ysgrifenwyr wedi camddeall ynghylch y llinell lâs; yn lle ysgrifenu arni, ysgrifenant uwch ei phen, neu o dani. Pan fyddo rhywun yn cael ei fedyddio a'i gadarnhau i'r eglwys, dylai hyny, ynghyd â'i enw, celfyddyd, preswylfod, oed, a phob peth arall yn ei gylch, hyd at ei doriad allan, gael eu gosod ar y llinell lâs; ac os caiff y cyfryw ei ail-fedyddio, &c., mae lle i ysgrifenu hyny, ynghyd â thrydydd bedydd, &c., o dan y llinell lâs, cyn dyfod at y llinell lâs nesaf, yr hon a fydd yn perthyn i rywun arall. Y mae y Rhagymadrodd yn egluro hyn yn eithaf dealladwy, ac nid oes ond eisieu sylwi er deall y cyfan. Dylid cymmeryd gofal mawr gyda Llyfr yr Eglwys, i ysgrifenu pob peth yn rheolaidd.

Nid oes dim ag y mae dynion yn fwy diffygiol ynddo, nag y maent mewn adnabod eu cymmeriad eu hunain. Yr ydym yn treulio llawer o'n hamser i ddysgu pethau ofer a diles, ond nid ydym yn cymmeryd dim poen i fyfyrio arnom ein hunain, ac i agor llochesau a chilfachau y galon.

ADDEWID YR YSBRYD.

O, fy enaid, paid a thewi,
Am y fendith ge'st yn rhad,
'Rhon addawodd y Messiah
Pan ai adref at ei Dad;
Caed y blaenffrwyth yn Nghaersalem,
Pan yr oeddynt yn gytun;
Mae'r addewid o'r cyflawnder
Yn nyfodiad Mab y Dyn. R. H.

---

Taliadau o Mawrth 5 hyd Mawrth 17.—Sir Fynwy, £2 10s; Sir Gaerfyrddin, £2 6s 11½c; Sir Feirionydd, £4 9s 6c; Llanfabon, 6s 6c; Aberdâr, 10s; Ynysgou, 3s; Pontytypridd, £1 6s; Cwmbach, £1; Hirwaen, £1; Georgetown, £1 2s 6c; Merthyr, £2 10s; Cefn, £1 15s.—Cyfanswm, £18 19s 5½c.

☞ Yr ydym yn bwriadu cyhoeddi y "*Pearl of Great Price*," yn Gymraeg, mor fuan ag y gallwn.

☞ Dymunwn hysbysu y gellir danfon pob math o lyfrau trwy y *post* o hyn allan, am 6ch. y pwys o rag-dâl; ond os byddant dros bwys, codir 6ch. arall.

☞ Os gŵyr rhywun am rywfaint o'r rhifynau 10 ac 11 o'r Udgorn am 1851, ar werth, dymunwn ni eu prynu yn ol.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 7.] EBRILL 3, 1852. [CYF. IV.

## PATRIARCHAIDD.

### AT Y SAINT GWASGAREDIG TRWY Y BYD, YN ANERCH.

[Allan o'r "Deseret News."]

ANWYL FRODYR A CHWIORYDD,—Mae Ysbryd Duw yn fy nghynhyrfu i ysgrifenu epistol, a rhoddi i chwi ryw gynghor tadol ar y pryd hwn. Yr wyf yn gweddio ar Dduw, fy Nhad tragywyddol, i oleuo fy meddwl, a chyfranu i mi eiriau ac egwyddorion ag a fyddant i chwi megys balm i archoll, neu ddwfr i sychedig.

Y mae yn awr dros un ar hugain o flynyddau er pan reoleiddiwyd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, o chwech o aelodau,—y rhan fwyaf o ba rai ydynt wedi eu rhifo gyda'r meirw.

Yn fuan wedi ei rheoleiddiad mi a glywais yr Efengyl trwy fy nai, Joseph Smith, ieu., ac mi a ufyddhëais i orchymynion yr Arglwydd trwy fyned i mewn trwy y drws, yr hwn yw bedydd.

Oddiar y pryd hwnw y mae llawer o olygfeydd wedi myned heibio, yn y rhai y cyfranogais i; achosai rhai o honynt i mi lawenhau, a llawer ereill i gael fy llethu gan dristwch.

Buasai cymmeryd mewn llaw i ddesgrifio teithiau, erlidiau, a dyoddefiadau y Saint, er pan y daethym i gyntaf yn adnabyddus â'r gwaith, yn ddigon i lanw cyfrolau; ac er bod fy ysbryd yn ewyllysgar i mi fanylu ar y pethau hyn, ac ychwanegu fy nhystiolaeth at y llaweroedd ag ydynt eisoes wedi ei phregethu a'i chyhoeddi i'r byd, etto mae y cnawd yn wan, ac y mae fy mysedd oedranus yn crebachu wrth gydio yn yr ysgrifell; digon

yw i mi ddywedyd fod yr hyn a gyhoeddwyd gan yr Henuriaid, yn wir; ac y mae'r gweddill yn y llyfrau a agorir yn y dydd pan y caiff pob dyn ei wobrwyo yn ol ei weithredoedd, ac y cyhoeddir dirgelion ar benau y tai.

Yr wyf wedi sylwi ar gynnydd graddol y gwaith hwn, yn ymdrechu yn erbyn anwybodaeth, traddodiad, a chrefydd-dwyll. Megys lefain, y mae yn gweithio ar led, hyd nes y clywir ef yn y dwyrain a'r gorllewin, y gogledd a'r deau, yn mathru dan draed, fel pe byddai, bob gwrthwynebiad, a dangos i Sant a phechadur fod y Duw mawr wrth y llyw.

Ugain mlynedd yn ol yr oedd yn hedyn mwstardd; yn awr y mae yn goedwig fawr, lle y gall ehediaid yr awyr gysgodi ynddi.

Y pryd hyny y cawsom ein hyspeilio o bob peth, a'n gadael heb gartrefle. Diolch i Dduw, y mae genym yn awr orphwysfa i'n traed.

Gallwn yma ei addoli Ef o dan ein "ffigysbren a'n gwinwydden ein hun," heb neb i'n dychrynu; ac o dan y fath amgylchiadau ffafriol ag y gosodwyd ni ynddynt yn awr, os nad ydym yn mwynhau Ysbryd Duw, yr achos yw oblegid nad ydym yn ufydd i'w orchymynion ef; ac yr wyf fi yn gallu tystiolaethu, na fwynhaodd y Saint erioed fwy o'r Ysbryd nag a fwynhant yn bresennol; ac yr wyf yn teimlo yn hyderus os ymlynant wrth gynghor, y derbyniwn fwy-fwy, ddydd ar ol dydd, hyd nes y delom o fewn y cylch o rodio gydag angylion, a bod yn gydymdeithion gwastadol iddynt; a phan fydd eisieu arnom i ddysgu rhywbeth oddiwrth Dduw, hwynt-hwy a'n dysgant ni, a bydd y nefoedd mor agos i ni ag yw Boston i New York trwy y *telegraph.*

I'r Saint yn y dyffrynoedd hyn y mae genyf air o gynghor:— Os yw lles y gwaith yn agos at eich calon, byddwch barod yn wastadol i ufyddhau i gynghor. Os yw y Llywydd yn ewyllysio sefydlu y dyffrynoedd, adeiladu Temlau, pregethu yr Efengyl, neu unrhyw beth arall a ofynir genych, byddwch barod fel dynion manwl, gyda'r oll sydd genych ac a feddiennwch. Na chaffer un esgus yn eich geneuau; eithr cyfodwch a dywedwch, Mi a gyflawnaf dy waith, O Dduw; a chwi a gewch weled ei iachawdwriaeth ef yn cael ei hamlygu yn niogeliad ei Saint.

Pe na fuasai y Llywyddiaeth a'r Deuddeg ag ydynt yn fyw yn awr, wedi bod yn weision i'r achos tra yr oedd Joseph yn fyw, ni fuasent yn deilwng i lanw y sefyllfaoedd uchel ag y maent

ynddynt yn bresennol; a chofiwch yn wastadol, "Fod yn rhaid i'r hwn sydd fwyaf yn eich plith fod yn was i bawb."

Dygwch i fyny eich plant yn y ffordd y dylent fyned, fel y byddont yn addurn i gymdeithas, ac yn fendith i chwithau yn eich henaint; a chofiwch na fyddwch yn ddieuog gerbron Duw os bydd i chwi esgeuluso y mater hwn. Cofiwch hefyd i'w dysgu i weddio; ac achoswch i'ch meibion gymmeryd rhan yn y weddi deuluaidd; a gofalwch pa gwmpeini a fyddont yn gadw, canys y mae "ymddyddanion drwg yn llygru moesau da."

Na adewch i'ch merched gymmysgu gyda meibion y dyeithr-ddyn, ag na fyddwch yn gwybod dim am dano, a'r hwn nad yw o dŷ Israel; eithr cesglwch eich plant ynghyd, a dysgwch iddynt egwyddorion gwirionedd a chyfiawnder, a dysgwch iddynt i ufyddhau cyfreithiau Duw, a daw y dydd pan y cyfodant ac y bendithiant chwi.

Dysgwch iddynt bob gwirionedd ag y mae Duw wedi ddad-guddio. Arllwyswch i'w meddyliau ieuainc bob egwyddor a'u gwna yn genedlaeth ardderchog, a symudwch oddiar eu llwybrau bob peth sydd yn groes i Dduw a'i orchymynion. Gochelwch na fyddont yn yfed o draddodiadau y Cenedloedd, a chadwch hwynt lle nas gallont ddyfod o hyd i'w hathrawiaethau; yna chwi a gewch genedlaeth o blant y rhai a gyfodant yn nerth Israel, ac a ddryiliant lyffetheiriau traddodiad, ac a fyddant yn fodau cym-hwys i gario yn mlaen y gwaith a ddechreuodd eu tadau; ac Ysbryd Duw a'ch cynnorthwya chwi i wneuthur y pethau hyn, os bydd i chwi ymdrechu â'ch holl allu.

Wrth y Saint pellenig yr wyf yn ewyllysio dywedyd, Brysiwch i Ddyffrynoedd y Bryniau tragywyddol. Deuwch i'r man lle y gallwch dderbyn o'r ffynnonell. Ymgesglwch i'r man lle y gall eich plant ymgymmysgu â'r eiddom ni, a lle y gellwch chwithau fwynhau y gymdeithas felys a deimlir gyda ni, ac fel y gallwyf finnau osod fy nwylaw arnoch a rhoddi i chwi fendith batriarch-aidd cyn fy myned oddi yma.

Dygwch gyda chwi eich peirianwaith, eich aur a'ch arian, eich pres a'ch copr, ynghyd â holl hadau a phethau gwerthfawr y ddaear; ac yn ddiweddaf, nid y lleiaf, y *tlodion* o deulu Duw,—i addurno y lle, a'i wneyd yn gyssegrle cymhwys i'r Arglwydd drigo ynddo.

Cofied y cyfoethogion fod yn rhaid i'r tlodion gael eu casglu;

mae y cyfoethogion yn gallu myned i Seion pryd y mynont, eithr y mae gan y tlodion i ddyfod pan fyddo y ffordd yn agor iddynt; ac y mae yn ddyledswydd ar y cyfoethogion i'w dwyn gyda hwynt.

Gweddiwch ar Dduw i droi calonau y Cenedloedd fel y defnyddiont eu cyfoeth i adeiladu ei deyrnas Ef, ac fel y delo breninoedd a breninesau yn dad a mam maethod, fel y blaguro Seion, ac y cyfoder ei Themlau i'w enw santaidd Ef, fel y cyflawnom y gwaith sydd yn gorphwys arnom er gwaredu y meirw.

Cynnaliwch a nerthwch ddwylaw yr Henuriaid ag ydynt yn eich plith. Esgyned eich gweddiau at Dduw y Sabaoth dros eu llwyddiant, ac fel na chaffont byth eu dyrysu; ac mewn addaliad hwy a'ch bendithiant, a'ch cynghorant, ac a weddiant drosoch, a llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn.

Blant, byddwch ddarostyngedig i'ch rhieni; a chwithau wragedd, i'ch gwyr; a chwithau Henuriaid, i'ch Llywyddion,—ie, ufyddhaed pob un megys y maent hwythau yn dysgwyl ufydddod oddiwrth y rhai y gosodir hwy i lywodraethu arnynt, gan gofio yn wastadol ei bod yn well i lywodraethu mewn cariad nâ thrwy ormes.

Gochelwch ymgyfreithio. Talwch eich degwm. Cofiwch eich cyfammodau yn Nhŷ yr Arglwydd. Bydded i'r Drysorfa Barhaus lwyddo, ac i'r tlodion lawenychu. Gweddiwch dros waredigaeth Seion; dros Benau yr Eglwys; dros ymgasgliad y Saint; dros yr Henuriaid sydd ar led yn pregethu; dros eu teuluoedd a adewir gartref; dros y saint gwasgaredig trwy y byd; dros lwyddiant y gwaith; dros ddiddymiad bwriadau ein gelynion, a dros i iechyd, heddwch, a llwyddiant breswylio yn mhob trigfan o eiddo saint Duw. Wrth wneuthur felly, bendithion a ddyhidlant ar eich penau; eich meddyliau a ymëangant; Ysbryd Duw a orphwys arnoch, a'ch blynyddoedd a fyddant yn llawer ar y ddaear.

Bydded i bob Henuriad yn Israel wisgo am dano wisgoedd cyfiawnder, gan ddysgu trwy hyfforddiad ac esiampl, y gwir egwyddorion ag ydynt yn dyrchafu y meddwl, eangu y deall, a gwneyd dyn yn addas gydymaith i'w Greawdwr; ac na ddianrhydedder byth yr alwedigaeth nefol a santaidd ei galwyd iddi, trwy ddysgu a gadael i gael eu dysgu yn ei dŷ, neu mewn unrhyw le y byddo ganddo ef ddylanwad neu allu i'w lywodraethu, athrawiaethau nad ydynt o Dduw.

Bydded i'r egwyddorion cywir ag y mae Duw yn ddadguddio yn y dyddiau diweddaf hyn, gael eu dysgu yn eu purdeb syml, gan ddwyn gyda hwynt eu gwerth eu hunain, gan fynu Ysbryd Duw i'w cefnogi, ac mi a wn y bydd i bob Sant gwirioneddol eu groesawi hwynt â breichiau agored. Gochelwch gwmpeini neu dŷ y rhai hyny ag ydynt yn dirmygu athrawiaethau Duw, canys nid yw Duw yn trigo yno; ni cheir y gwaed ar gapan eu drysau hwynt yn y dydd y delo y dinystrydd heibio.

Wrth yr Henuriaid ag ydynt allan yn pregethu, yr wyf yn dymuno dywedyd,—Na thawed eich llef. Rhybyddiwch y cenedloedd am lid Duw ar y drygionus. Pregethwch ffydd, edifeirwch, bedydd er maddeuant pechodau, gosodiad dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glân ac ymgasgliad y Saint; gan ddwyn eich tystiolaeth yn ddiofn, a'r Arglwydd a fendithia eich llafur â llawer o ysgubau, yr hyn a fydd yn anrhydedd i chwi yn nydd mawr y cyfrif. Os byddwch ffyddlawn yn y pethau hyn, ni chaiff fod eisieu ar eich teuluoedd, ni chaiff eich aelodau fod yn flinedig, ac ni fetha eich tafodau i draethu gwirioneddau newydd a hen; ac angylion Duw a wyliant eich camrau, a'i Ysbryd ef a fydd gyda chwi i oleuo eich ffordd, ac i fod yn enau, mater, a doethineb i chwi; a phan y dychweloch i'ch cartref lecedd, chwi a gyfarfyddwch â gwynebau siriol, y rhai a'ch groesawant chwi â bendith am y daioni a wnaethoch mewn gwledydd ereill.

Mae yn rhaid i mi derfynu, canys yr wyf yn teimlo gwendid a llesgedd henaint yn ymlusgo yn mlaen, a chan nad wyf yn gwybod pa bryd y geilw yr Arglwydd fi oddiyma, yr wyf yn cymmeryd y cyfleusdra hwn o ychwanegu fy hatling at dystiolaeth y miloedd ag ydynt yn wasgaredig trwy y byd, ynghyd â'r rhai hyny ag ydynt wedi myned tu draw i'r llên, y rhai a seliasant eu tystiolaeth â'u gwaed.

Yn Kirtland, Ohio yr oedd pedwar brawd yn eistedd yn y côr patriarchaidd yn Nheml Dduw, a myfi yn unig o'r nifer hyny a adawyd i adrodd yr hanes; a chan fy mod i wedi pasio yr amser penderfynedig i ddyn fyw, y mae yn rhesymol y bydd i minnau hefyd gael fy nghasglu at fy nhadau yn amser apwyntiedig Duw. Yr wyf fi, gan hyny, yn dwyn fy nhystiolaeth, yr hon a ewyllysiwn gael o honi ei chyfieithu i bob iaith, ei darllen i bob Sant, a'i hargraffu lle bynag y defnyddir llythyrenau at hyny; fel y caffo y byd weled a chlywed yr hyn sydd genyf i ddywedyd; canys pe

buaswn yn ieuanc mi a ymwelaswn â hwynt, pan y caent glywed o'm gwefusau i fod Duw drachefn wedi llefaru o'r nefoedd; ei fod drachefn wedi ymddarostwng i ddanfon ei angylion i ymweled â dyn syrthiedig, a dangos y ffordd trwy yr hon y gall gael ei achub. Efe a benododd Joseph Smith yn brophwyd, ac a ddadguddiodd iddo ei orchymynion.

Yr wyf yn tystiolaethu wrth bob dyn mewn geiriau sobrwydd, fod Llyfr Mormon yn wir; i Joseph Smith, ieu, ei gyfieithu o'r llafnau trwy yr Urim a Thummim, a thrwy allu Duw.

Yr wyf yn tystiolaethu fod Joseph Smith yn brophwyd, gweledydd, dadguddiwr, ac yn wr Duw; ac y profa yr hyn a ddadguddiwyd trwyddo ef yn fywyd ac iachawdwriaeth i'r rhai a gredant ac a ufyddhant, neu yn farwolaeth a chondemniad i'r holl rai a'i cyfrifant megys peth ofer, ac a galedant eu calonau yn erbyn y gwirioneddau a bregethodd ac a ymarferodd ef.

Mi a'i hadwaenwn ef pan yr oedd ar fronau ei fam, ac mi a'i gwyliais ac a'i cynghorais ef yn ei ieuenctyd; eithr pan lefarodd Duw wrtho ac y dysgodd ef, yna mi a ymostyngais i'w wybodaeth ragorach ef; ac er mai bachgen oedd ef, a minnau yn hen wr, ac yn ewythr iddo, etto nid oedd arnaf gywilydd i ddysgu gwir egwyddorion ganddo ef, ac fel Paul wrth draed Gamaliel, i ddrachtio i mewn y gwirioneddau a ddylifent trwy wefusau y prophwyd.

Mi a fum yn ngharchar gydag ef a'i frawd Hyrum ychydig oriau cyn iddynt gael eu lladd; a gallaf dystio gerbron Duw, iddynt farw yn ddieuog o bob trosedd, ac iddynt selio eu tystiolaeth â'u gwaed.

Yr wyf yn tystiolaethu wrth bob dyn, fy mod yn gwybod fod yr angel wedi ymddangos, yr hwn a welodd Ioan y dadguddiwr, a'r hwn oedd ganddo yr Efengyl Dragywyddol i bregethu i bob cenedl, llwyth, iaith, a phobl, gan ddywedyd â llef uchel, Ofnwch Dduw, a rhoddwch iddo ogoniant, canys daeth awr ei farn ef.

Ac yr wyf yn galw ar bawb, offeiriaid a phobl, breninoedd, penaethiaid, a llywodraethwyr, i ddarfod amryson; deuwch ac ufyddhewch i'r Efengyl, ymgasglwch gydag Israel, ufyddhewch i orchymynion Duw, fel y byddo i chwi a'ch meirw gael eich achub a'ch dwyn i fyny yn yr adgyfodiad cyntaf.

Ac yr wyf yn dywedyd wrth y Saint, fy mod, trwy allu yr

Offeiriadaeth santaidd a ymddiriedwyd i mi, fel Patriarch, yn eich bendithio chwi; ac yr wyf yn dywedyd wrthych,—Byddwch ffyddlawn, a chwi a gewch eich bendithio yn eich basged a'ch ystôr; chwi a gewch bob bendith ag a addawyd i Abraham, Isaac, a Jacob; a'r Arglwydd a'ch cadwa megys yn nghéudod ei law, ac nis gall un gallu rwystro y gwaith, canys pob peth a ddygir yn ei erbyn a fetha.

Agorir y ffordd i bob un o'r Saint ddyfod i Seion. Iechyd, heddwch, llawenydd, llwyddiant, ac Ysbryd Duw, a breswyliant yn eich trigfanau, ac angylion Duw a wyliant drosoch ac a'ch cynghorant trwy eich holl ddyddiau; eich meddyliau a gant ymeangu i amgyffred pob egwyddor o wirionedd a chyfiawnder, a chwi a gewch adeiladu Temlau, a myned trwy yr ordinhadau dros eich meirw; eich enwau a geir mewn coffadwriaeth yn mysg pobl Dduw; a'ch plant a gyfodant ac a'ch galwant yn wynfydedig. Caiff golud y Cenedloedd ei droi i sefydlu Teyrnas Dduw; pob gweddi o eiddo y cyfiawnion a wrandewir ac a atebir gan ein Tad yn y nef, a phob bendith ag a ellir eu pentyru ar ddyn, a bentyrir ar y rhai hyny a gadwant ei orchymynion. Ac yr wyf yn gweddio ar Dduw, fy Nhad Tragywyddol, i wrandaw hyn, sef gweddi a bendith dy was, a'u hateb ar benau fy mrodyr; yr hyn a ofynaf yn enw Iesu Grist. Amen.

JOHN SMITH,
Patriarch i Eglwys Iesu Grist o Saint
y Dyddiau Diweddaf.

Dinas y Llyn Halen Fawr, Tach 8, 1851.

---

## SAINT DUW YN ERBYN Y BYD.

[Parhad o dud. 89.]

Y MAE pob un o Saint y Dyddiau Diweddaf yn teimlo ei fod i raddau yn fôd dinodded. Y mae Satan yn gweithio mor bwerus yn nghalonau plant anufydd-dod, nes y mae'r clymau cryfaf yn cael eu dattod, a'r perthynasau agosaf yn cael eu hanghofio, ac yn aml gelynion penaf y Sant yw tylwyth ei dŷ ei hun. Mae y byd, ac yn neillduol y rhan grefyddol o hono, yn dangos y casineb mwyaf anghymmodlawn tuag at Saint y Dyddiau Diweddaf. Yn wir, mae yr enw o Saint y Dyddiau Diweddaf yn llanw mynwesau y bobl â theimladau annesgrifiadwy; ac ym-

ddengys fel pe byddai yn cyffroi pob teimlad maleisus o eiddo eu heneidiau. Os â rhywun i glywed y Saint, y mae yn myned o hyny allan yn gymmeriad hynod. Y mae yn peryglu ei enw da. Mae ei gyfeillion crefyddol yn synu clywed ei fod wedi gosod ei droed tu fewn i dŷ cwrdd Mormonaidd. Arswydant wrth feddwl ei fod ef wedi bod yn gwrandaw ar bregeth gan Henuriad Mormonaidd. Tarewir hwynt â syndod os dygwydda lefaru mewn cymmeradwyaeth o'r hyn a glywodd. Torant bob cyssylltiad ag ef os argyhoeddir ef o'r gwirionedd, ac os cynnygia dalu ufydd-dod i'r cyfryw. Buasai yn well ganddynt ei fod yn myned yn feddwyn, neu yn buteiniwr, nâ myned yn un o Saint y Dyddiau Diweddaf. Mae llawer o bersonau wedi dywedyd y dewisent ganlyn eu perthynasau i'r bedd, yn hytrach nâ'r gofid o wybod y cofleidient ffydd Saint y Dyddiau Diweddaf. Y mae Pabyddiaeth, gyda'i holl ysgelerderau offeiriadol a'i dychrynfeydd chwil-lysol, yn cael ei hystyried mewn cymhariaeth, yn burdeb a rhinwedd, mewn cyferbyniad i afresymoldebau a chableddau tybiedig "Mormoniaeth." Ac yn wir, y mae yn ammheus pa un a oes cymdeithas grefyddol mewn bodoliaeth, yr hon na wnelai, yn y dygwyddiad o eithafgyrch, uno yn y floedd gyffredin o "Ymaith â'r Mormoniaid, nid ydynt yn deilwng i fyw."

Cafodd Joseph Smith, y sylfaenwr (o dan Dduw) o Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, er yn ddechreuol yn lanc anadnabyddus ac anllythyrenog, ei erlid gyda'r creulondeb mwyaf didrugaredd o'r amser yr hysbysodd ei fod wedi derbyn dadguddiad o'r nef. A'i erlidwyr penaf oedd y rhai hyny a broffesent fod yn ganlynwyr i'r Iesu addfwyn a gostyngedig. Hwy a geisient yn barhaus ei ddadymchwelyd, ac ymdrechent i gyflawni hyny trwy bob moddion yn eu gallu. Er mwyn creu rhagfarn yn meddwl y cyhoedd yn ei erbyn, cafodd y chwedlau mwyaf gwag a disynwyr er ei niweidio eu taenu yn ddiwyd, ac, wrth gwrs, eu credu yn dra awyddus. Yr oedd amryw *writs,* wedi eu sylfaenu ar y chwedlau ffol hyn, wedi eu gwasanaethu arno, y rhai a arweinient i ofidus ymgyfreithio, oddeutu chwech a deugain o weithiau; eithr ni chafodd Joseph Smith unwaith, lle y cafodd brawf cyfreithlawn, ei brofi yn euog o dori cyfreithiau ei wlad. Yr oedd ei elynion mor ymddialgar, fel na orphwysasant hyd nes y trochasant eu dwylaw yn ei waed gwirion. Y mae ei elynion

yn tystio mai ei drosedd a'i ddedfryd oedd, " Nis gall cyfraith y wlad ei gyrhaedd, eithr pylor a phlwm a'i cyrhaeddant."

Cafodd Hyrum Smith, brawd i Joseph, ei ladd gydag ef, er nad oedd wedi ei brofi yn euog o un trosedd.

Cafodd John Taylor, apostol, ei glwyfo yn enbyd ar yr un amser.

Ac y mae Saint y Dyddiau Diweddaf fel pobl wedi cael eu herlid yn y modd mwyaf diffaeth. Maent wedi cael eu mobio, eu hyspeilio, a'u gyru o'u cartref-leoedd a'u hetifeddiaethau, o amser i amser. Gallai eu llwybr gael ei olrhain wrth eu gwaed. Yr oedd henaint penllwyd a babandod digymhorth yn cael eu diystyru yn gyffelyb gan ellyllon ar lun dynion. Yr oedd gwragedd diamddiffyn yn cael eu hanrheithio yn ddidosturi o'r hyn ag sydd yn fwy gwerthfawr na'r bywyd tymmorol. Blaenoriaid y bobl hyn a fwriwyd yn ngharchar, ac a borthwyd â chnawd dynol.

Yn ngwanwyn y flwyddyn 1846, cafodd prif awdurdodau Saint y Dyddiau Diweddaf eu gyru o'u hyfrydol Nauvoo, a'u hardderchog deml, a'u gorfodi i chwilio am gartrefle iddynt eu hunain yn noddfeydd gwylltion y Mynyddoedd Creiglyd, yn mhell ymaith oddiwrth drigfanau y Cristionogion gwareiddiedig, ond gwaedlyd. Hwy a deithiasant yn orllewinol rai cannoedd o filltiroedd; a chawsant allan fod yn rhaid iddynt aros dros y gauaf yn mhell tu yma i'r lle y bwriadent ei gyrhaedd. Tra yn y sefyllfa drallodus hon, swyddogion yr Unol Daleithiau a alwasant arnynt am bum cant o flodau eu gwersyll, i ymgorffoli yn fyddin, er myned i Mexico. Cafodd y gofyniad creulawn ac anwraidd hwn ufydd-dod uniongyrchol. Yn dâl am y dangosiad digyffelyb hwn o wladgarwch, y Saint tlodion a methiedig ag oeddynt yn analluog i ymadael o Nauvoo gyda'r cyfangorff, a yrwyd allan o'r ddinas wrth enau y magnel a blaen y bidag, ac a orfodwyd i fyned i'r gelltydd a'r *prairies* ar ol eu brodyr gallu-ocach, ac awdurdodau yr Eglwys.

Ac ar ol i'r Saint, gyda'r diwydrwydd mwyaf a gwroldeb canmoladwy, groesi anial-leoedd dilwybr, ymdreiddio drwy fynedfeydd dyfnion a thywyll, ymchwilio ardaloedd cyfain braidd yn anadnabyddus o'r blaen, ymsefydlu yn Ninas y Llyn Halen, adeiladu tai a dinasoedd, gwneuthur ffermydd, ac achosi i'r anialwch lawenychu a'r diffaethwch flaguro fel y rhosyn,—Congress

yr Unol Daleithiau a ganiataodd iddynt Lywodraeth Diriogaethol, mewn atebiad i'w deiseb i gael eu derbyn fel Talaeth annibynol i'r Undeb.

Wedi i hyn gael ei wneuthur, y mae yr hen waith o enllibo a thaenu chwedlau anwireddus yn cael ei adnewyddu yn ei holl ffyrnigrwydd arferol. Y mae rhai cymmeriadau yn eiddigeddu wrth Saint y Dyddiau Diweddaf am gael y fraint o gloddio am eu bara eu hunain. Eiddigeddant wrthynt am eu bod yn cael tir i sefyll arno, ac awyr i anadlu. Y maent yn ewyllysio dadymchwelyd Utah deg, y rhyfeddod hono o anturiaeth rinweddol. Eithr eu gobeithion a ddiflanant, a'u hysbrydoedd a fethant, eu cabl-eiriau celwyddog a gant ddychwelyd megys tân ar eu penau eu hunain, a thrywanu eu heneidiau megys picell trwy eu hafu. Canys yr Arglwydd yw ein hamddiffynfa a'n tŵr cadarn; ynddo Ef yr ymddiriedwn. "Gwell yw gobeithio yn yr Arglwydd, nag ymddiried mewn tywysogion.

Yn ngwanwyn 1850, penododd Llywodraeth yr Unol Daleithiau ddeg o bersonau fel swyddogion cyhoeddus i Diriogaeth Utah, sef—Brigham Young, Llywodraethwr; Seth M. Blair, Cyfreithiwr U. D; a Joseph L. Heywood, Marshall U. D; Lemuel G. Brandebury, Prif Farnwr Uchel-lys yr Unol Daleithiau dros y Diriogaeth grybwylledig; Perry E. Brochus, a Zerrubbabel Snow, Barnwyr Cynnorthwyol; B. D. Harris, Ysgrifenydd y Diriogaeth; a'r Meistriaid Holman, Day, a Rose, Goruchwylwyr Indiaidd. Cyrhaeddodd y Swyddogion hyn yn Utah yn haf a hydref 1851. Eithr ni fuont yno lawer o wythnosau, cyn i Lemuel G. Brandebury, Perry E. Brochus, a B. D. Harris ddangos tueddiad anwraidd i adael eu gorsafoedd o anrhydedd, a dychwelyd i'r Taleithiau. Gan nad oedd ganddynt unrhyw reswm credadwy dros ymadael oddiwrth eu dyledswyddau, yn dra naturiol (megys bechgynach segurllyd, yn hel esgusodion i'w meistri) hwy a grafasant ynghyd ddysgliad enllibaidd o *odds and ends*, mewn ffordd o "Fynegiad Swyddol" (neu yn hytrach "Fynegiadau," canys yr oedd mwy nag un, ac wrth gwrs, i gyd yn wir, pa mor groes bynag i'w gilydd), i wneyd eu hachos yn dda, ac felly i ddianc rhag sènffiangellau y Llywodraeth Gyfundebol.

Eithr nid y "Mynegiadau" enllibaidd a dryg-liwgar hyn yw yr unig ddangosiadau o eiddigedd tuag at y Saint. Mae rhai

aelodau o'r Congress yn dangos penderfyniad diysgog i fwrw cynnrychiolydd Utah (yr Anrhyd. J. M. Bernhisel) allan o'i eisteddle yn nhŷ y Cynnrychiolwyr. Y mae hyn mewn perffaith gyssondeb â gweithrediadau ereill. Eithr gadawer i hyn gael ei wneuthur, a bydd i undeb pobl yr Arglwydd synu y rhagrithwyr, a pheri rhyfeddod i'r byd. Gadawed y genedl Americanaidd i'r mesur hwn gael ei benderfynu felly, a llaw Duw a syrthia yn drwm ar y bobl. Bydd wylofain a galar mewn lleoedd uchel. Bydd i amherawdwyr beilchion yr hen fyd wneuthur gwawd o ffug-ryddid Columbia. Yr ydym ni yn dysgwyl am ddygwyddiadau dyfodol gyda dyddordeb mawr, yn hytrach nâ chyda phryder a gofid; canys ni a wyddom y cydweithia pob peth er daioni i'r rhai a garant Dduw, a'r rhai ydynt wedi eu galw yn ol ei arfaeth Ef.

Y mae yn arferiad cyffredin gan ddynion ag ydynt yn erlid pobl Dduw, i gysuro eu hunain â'r meddwl nad ydynt yn eu herlid o herwydd eu crefydd, ond yn unig yn rhoddi iddynt wobr gyfiawn am eu heithafion mewn *llywod-ddysg* (*politics*), neu eu cableddau rhyfygus. Gwych iawn. Ond gadewch i ni ystyried. Paham yr erlidiwyd yr Iesu gan yr Iuddewon? Am ei lywod-ddysg a'i gableddau tybiedig. "Nid am weithred dda yr ydym yn dy labyddio (och fi, nage!), ond am gabledd,"—Ioan x, 33. "Os gadawn ni ef fel hyn, pawb a gredant ynddo; *ac fe a ddaw y Rhufeiniaid ac a ddyfethant ein lle ni a'n cenedl hefyd*,"—Ioan xi, 48. Wel, fe gafodd Iesu Grist ei brofi, ei gondemnio, ei wisgo mewn mantell ysgarlad, ei goroni â drain, gan gael corsen yn ei ddeheulaw, a'i hoelio ar y groes am ei *farn boliticaidd*! Ei achos a ymddangosai yn amlwg uwch ei ben cyssegredig—"HWN YW IESU BRENIN YR IUDDEWON!" Yr Arch-offeiriaid, yr Ysgrifenyddion, a'r Henuriaid, a'i gwatwarasant ef, ac a waeddasant mewn gwawd, "*Os Brenin Israel yw*, disgyned yr awrhon oddiar y groes, ac ni a gredwn iddo!"—Math. xxvii.

Llabyddiwyd Stephan am ei *farn boliticaidd*. "Canys nyni a'i clywsom ef yn dywedyd, y dystrywiai yr Iesu hwn o Nazareth *y lle yma*, ac *y newidiai efe y defodau* a draddododd Moses i ni."—Act. vi, 14.

Cafodd Paul ei erlid o achos ei *farn boliticaidd*. "Oblegid ni a gawsom y gwr hwn yn bla, ac yn cyfodi *terfysg* yn mysg yr holl Iuddewon trwy'r byd, ac yn ben sect y Nazareniaid."—Act. xxiv, 5.

Ac y mae yr un esgus dichellgar yn cael ei ddefnyddio yn awr. Y mae y Parch. J. B. Lowe, o'r dref hon (Liverpool), yn dywedyd mewn darlith,—"Yn Swydd Jackson a Swydd Clay y dygwyddodd yr ysgarmesau rhyngddynt hwy (y Saint) a'r milisia swyddol, y rhai a ewyllysient eu gyru ymaith. Ni ddarfu i'r trigolion, pa fodd bynag, ddefnyddio trais ond yn unig wedi iddynt gael allan nas gallent gael gwared o honynt mewn modd heddychlawn. Nid wyf fi yn cyfiawnhau y trais; eithr cofiwch *mai nid erlidigaeth ydoedd o herwydd eu crefydd.** Dim y fath beth. Mae pob crefyddau yn cael eu goddef yn yr Unol Daleithiau, ac nid oedd gan y boneddigion a ddeisebasant yn eu herbyn hwy ddim i ddywedyd am eu boldordd grefyddol; *eu cyfundraeth boliticaidd*, ynghyd â'u honiadau rhyfygus, a wrthwynebent hwy, ac a benderfynent na chawsai ei goddef, gan na fyddai heddwch hyd nes y tueddid hwynt i ymadael â'r lle.

Cafodd Joseph Smith ei erlid a'i ladd am ei farn *boliticaidd*. Gyrwyd Saint Duw o Nauvoo am eu barn *boliticaidd*. A cheisir dadymchwelyd y Saint yn Utah yn bresennol, o herwydd eu barnau *politicaidd* a *therfysglyd*.

Ond pa un bynag a yw gelynion Duw yn meddwl i'r Iesu, Stephan, Paul, Joseph, neu ryw rai o Saint Duw, ddyoddef erlidigaeth a merthyrdod o herwydd eu crefydd; neu o herwydd eu llywod ddysg, neu eu cableddau; y mae un peth yn wybodus, iddynt ddyoddef a marw er mwyn *cyfiawnder*, ac o ganlyniad eu gwobr a fydd fawr yn y nefoedd, pan y bydd i lid Duw tramgwyddedig wywo i fyny eu herlidwyr didrugaredd.

Y mae etto i fod ymdrech ryfeddol rhwng galluoedd Duw a galluoedd Satan. Nid yw y wobr yr ymdrecha y pleidiau hyn am dani yn ddim llai na llywodraeth gyffredinol a thragywyddol ar y ddaear. Y mae Duw yn bwriadu estyn ei lywodraeth dros holl wyneb y ddaear, a gyru Satan allan o honi. Mae yn rhaid i deyrnas Dduw gael ei sefydlu, ac ewyllys Duw gael ei gwneuthur

* Er fod yr esgusodwr parchedig hwn o erlidigaeth gyfangwbl yn dywedyd wrthym i'r Missouriaid yru allan Saint y Dyddiau Diweddaf o herwydd eu llywod ddysg, etto y mae efe ei hun yn sylwi arnynt o herwydd eu crefydd, yn gystal ag o herwydd eu llywod-ddysg. Llefara am Orson Pratt, fel "dyn hyfedr iawn, a dyn cyfrifol iawn am ddim a wn i, ond gyda golwg ar ei *farn grefyddol*!" Felly, yn ol barn Mr. Lowe, y mae crefydd Mr. Pratt, yn ryw *leihad* ar ei gyfrifoldeb!

ymа mor barod ac effeithiol ag y gwneir yn awr yn y nefoedd. Yr oedd yr holl wyr cyfiawn ag oedd gan Dduw gynt, y rhai a dderbyniasant yr offeiriadaeth ar y ddaear, yn ymwneyd â'r gwaith gogoneddus hwn. Y maent oll wedi gwneuthur rhywbeth tuag ato. Y maent etto yn brysur wrth y gwaith hwn, ac y maent wedi ymgyfammodi i beidio attal eu llafur hyd nes y byddo'r frwydr wedi ei gorphen, a'r fuddugoliaeth wedi ei hennill. Daw y cwestiwn o ddydd i ddydd yn fwy pwysig. Bydd gan bawb i ddewis ei ochr. Mae Satan a'i ymlynwyr yn meddwl ennill y dydd. Eithr hwy a gânt eu twyllo. Er mwyn cyflymu y diwedd fe fydd cyd-gadwyniad ardderchog o alluoedd yr holl oruchwyliaethau yn cael eu cyd-gyssylltu â galluoedd y Nef. Yn y genedlaeth hon bydd i ergyd penderfynol gael ei roddi rhwng y ddau allu gwrthwynebol, yr hwn a rydd heddwch a gorphwysiad i'r cyfiawnion am fil o flynyddau. Yna y bydd yr holl Saint wedi ymuno yn un, a Duw fydd eu Brenin a'u Deddf-roddwr, a'r ddaear hon lle y buddugoliaethodd eu gelynion arnynt, a roddir iddynt yn etifeddiaeth dragywyddol. Amen.

---

## CYLCH-LYTHYR Y DEGWM

### AT BAWB Y PERTHYNA IDDYNT.

[O'r "Deseret News."]

Gan fod dyddordeb mawr yn cael ei deimlo yn awr gan y Saint mewn perthynas i'r Degwm; a chan fod camsyniadau a chamddealltwriaeth yn agored i gymmeryd lle, o dan y trefniadau goreu, ac yn fwy neillduol felly, lle y mae busnes helaeth, a lle nad oes trefn gyffredinol o drafodaeth, dealledig i bawb, mewn gweithrediad; mi a dybias yn addas i gyhoeddi y cylch-lythyr hwn at Esgobion, Goruchwylwyr, a phawb ag ydynt, neu a fyddant yn ol llaw, yn talu neu dderbyn degwm yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.

Dyledswydd yr holl Esgobion a'r goruchwylwyr at dderbyn degwm, yn mhob rhan o'r byd, i'w cadw cyfrif cyflawn a chywir o bob degymau a dderbynir, oddiwrth bwy y derbyniwyd, pa bryd y derbyniwyd, ac yn mha le y derbyniwyd; a pha fodd, at bwy, ac at ba ddyben y defnyddiwyd hwy; a danfon copi o'r

cyfrif hwnw i swyddfa gyffredinol y degwm bob blwyddyn, erbyn neu yn flaenorol i'r Gymmanfa yn mis Hydref.

Bydd i'r swyddfa yn Liverpool, a phob swyddfaoedd pellenig ereill, a goruchwylwyr, nid yn unig roddi copi blynyddol o gyfrifon y degwm, gyda yr ymfudiad, neu ryw gyfleusdra diogel arall; eithr ar ddychweliad pob goruchwyliwr pellenig i'r lle y preswylia y Brif Lywyddiaeth, roddi cyfrif cyflawn a pherffaith o bob swm a dderbyniodd ac a ddefnyddiodd, yn ystod ei oruchwyliaeth, ynghyd ag enwau yn llawn, o'r holl bersonau oddiwrth ba rai y derbyniodd efe ddegwn, a'u lleoedd o fyw, ynghyd â *balance sheet*, yn llawn, dros ac yn ystod amser ei oruchwyliaeth ef.

Y mae y brodyr yn dyfod yn fynych o Lloegr, Pottawatamie, a lleoedd pellenig ereill, a gwahanol ddyffrynoedd y mynyddoedd, ac y maent eisieu gweled os yw eu degwm wedi ei dalu yn llawn, fel y gallont gael hawl i ryw fendithion dymunol; eithr, os na fydd dychweliad cyfrifon wedi cael ei wneuthur gan yr Esgobion a'r goruchwylwyr hyny i ba rai y maent hwy wedi talu eu degwm, neu fod gan y person ddangoseg allan o lyfrau ei oruchwyliwr neu Esgob, pa fodd y gall y fath settliad gael ei wneuthur yma? Yn ddiau nis gellir ei wneuthur. Am hyny, os myn rhywun settlo ei ddegwm yn gyflawn, dyged ganddo ddangoseg oddiwrth ei Esgob, os na fydd llyfrau yr Esgob, yn cynnwys ei gyfrif ef, wedi cael eu dychwelyd yn ddiweddar i'r swyddfa gyffredinol.

Ac yn mhellach, er rhwyddhau busnes, ac arbed trafferth, bydded i'r holl Esgobion yn y Diriogaeth, roddi mynegiad hanner-blynyddol o'u llyfrau, a'u gweithrediadau, erbyn, neu ychydig yn flaenorol i'r Cymmanfaoedd cyffredinol yn mhob blwyddyn.

Dymunwn iddo gael ei ddeall yn eglur mai dyledswydd anhebgorol yr holl Esgobion a'r goruchwylwyr yw rhoddi ystyriaeth i'r awgrymiadau uchod, gan fod anhawsderau yn cyfodi yn ddyddiol mewn canlyniad i'r cyfryw esgeulusdod.

Mae hefyd yn ddyledswydd ar yr holl ysgrifenyddion yn yr holl wahanol ddosparthiadau o swyddfa y degwm, a'r pengweithwyr ar y gweithiau cyhoeddus, a'r holl rai a gadwant ddyddlyfrau a chofnodiadau o orchwylion a dygwyddiadau, yn dal perthynas ag achosion arianol yr Eglwys, i ddod â'r cyfryw i mewn bob dydd, cyn y byddo swyddfa y degwm yn cau, ac i dderbyn copi-lyfr at wasanaeth y dydd canlynol: a dyledswydd

yr Esgob llywyddol, ynghyd â'r Esgobion llywyddol cynnorthwyol, yw edrych fod yr holl Esgobion a'r goruchwylwyr yn gwneyd eu dyledswydd, a rhoddi mynegiad yn unol â'r cylchlythyr hwn.

D. S.—Mae camsyniadau yn dygwydd yn fynych o herwydd nad yw yr Esgobion ac ereill yn ofalus i fynu enw dyn yn gywir. Os oes gan rywun lythyren ganol yn ei enw, dylai yn ddieithriad gael ei hysgrifenu, gan fod llawer o bersonau a'u henwau yn gyffelyb, ac nid oes dim gwahaniaeth rhyngddynt ond y llythyren ganol; ac yr ydym yn gorchymyn yn gaeth i'r rhybydd hwn gael ei gofio mewn perthynas i gofnodiadau am fedyddiadau, genedigaethau, marwolaethau, &c.

WILLARD RICHARDS.

Swyddfa y Cofnodydd Eglwysig Cyffredinol,
D. Ll. H. Fawr, Tach. 15, 1851.

---

## MAWL AM ADFERIAD YR EFENGYL DRAGWYDDOL.

O HENFFYCH ddydd a'r awr heb gel,
Y gwelwyd angel Duw,
Yn hedeg gynt yn nghanol nef,
A'i lef at ddynol-ryw;
Tragwyddol 'fengyl ydoedd,
Gwna luoedd dystio'n nghyd,
A râd adferwyd etto'n ol,
I holl drigolion byd.

Anghyfnewidiol ydyw Duw,
Yr unrhyw yw ei drefn,
A barcho hon cânt ddod yn ol,
Yn rhwydd i'w gôl drachefn;
Holl addewidion nefol,
A grasol Ysbryd Glân,
Feddianna'r Seintiau calon bur,
Yn bybyr fawr a mân.

Mor felys yw'r efengyl hon,
I dlodion lymion lu,
Sydd yn cyhoeddi cymmod llawn,
Trwy IAWN yr Iesu cu.
Aed llais cenadon Iesu,
Trwy gonglau Cymru lân,
A thros derfynau'r ddaear faith,
Pob iaith fawrygo'u cân.

Hosanna seiniwn â'n holl nerth,
Am aberth Calfari;

Hosanna, dyblwn etto'r salm,
Am falm i'n clwyfau ni;
Mae lluoedd wedi'u golchi,
Yn moli'r Oen, Amen;
Cyd-unwn ninnau ag un dôn,
'Roi'r goron ar ei ben.

GWILYM COLLWYN.

[Gan fod ein gohebydd wedi cyfansoddi tôn ar y penillion uchod, carem gael ei gweled.—GOL.]

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

YR HENURIAD J. TAYLOR.—Ymddengys fod y brawd Taylor wedi ymfudo ar foreu y 6fed o Fawrth, yn yr agerdd-long Niagara, o Lerpwl i Boston, yn nghwmpeini yr Henuriaid T. D. Brown, J. W. Coward, a W. Collinson, ac ereill. Y mae y brawd Taylor wedi cyflawni ei genadiaeth, ac wedi gwneyd gwaith mawr. Yn mhlith pethau ereill bu yn offeryn i gyfansoddi "Cwmpeini Gweithfaol Deseret," yn cynnwys pedwar o gyfranogwyr, yn meddu £50,000 i ddechreu. Y weithred gyntaf a wnaeth y Cwmpeini oedd anfon peirianwaith i'r Dyffryn i wneuthur 300 o dunelli o siwgr o'r betys bob blwyddyn. Cychwynodd y peirianwaith hwn yn y "Rockawy" ar yr un dydd â'r brawd Taylor, ac y mae wedi costio £2,500, a gofyna hanner cant o wageni i'w gludo o'r Bluffs i'r Dyffryn. Mae yr had betys goreu wedi ei ddanfon yn mlaenllaw. Buasai y brawd Taylor wedi anerch y Saint trwy y *Star* cyn ymadael, oni bai ei fod mor ddiwyd yngbylch y cwmpeini uchod, a gorphen ei lyfr ar "Lywodraeth Duw," yr hwn sydd yn awr yn barod i'r wasg, a'r hwn y cawsom minnau, os ewyllysiem, y rhyddid o'i gyfieithu.

YR HEN. ERASTUS SNOW.—Mae y Brawd Snow wedi cyrhaedd Liverpool o Denmark ar yr 8fed o Fawrth, ynghyd â 19 o Saint Danaidd o Copenhagen. Ymfudodd y cwmpeini hwn, ynghyd â'r cwmpeini bychan blaenorol, ar fwrdd yr Italy, ar yr 11eg. Bydd i'r Hen. W. Snow fyned i Denmark yn lle y brawd E. Snow.

---

TALIADAU O MAWRTH 17 HYD MAWRTH 31.—Sir Fynwy, £2; Morganwg Orllewinol, £3 10s; Sir Gaernarfon, 13s 9c; Sir Dinbych, £1 5s; Sir Benfro, 10s; Rymni, £2 2s; Goergetown, 11s; Troedyrhiw, 5s; Llanilltyd, £1 10; Dowlais, 16s 1½c; Pendaren, 15s; Pontfaen, 10s (Mawrth 10).—Cyfanswm £14 7s 10½c.

GWALL.—Yn ngwaelod tud. 90, Rhif. 6, yn lle "yn eu calonau," darllener "yn eu talcenau."

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 8.] EBRILL 17, 1852. [CYF. IV.

## OFN MARW.

NID ymddengys fod un ofn yn fwy cyffredinol yn mysg meibion dynion nag ofn marw; y mae pawb braidd yn ofni hwnw, y boneddig a'r gwreng, yr hen a'r ieuanc, y caeth a'r rhydd. Y mae yn llanw mynwesau pawb ag arswyd; canys wedi marw, credant eu bod yn myned i roddi cyfrif am eu gweithredoedd tra yn y cnawd, ac i dderbyn eu gwobr neu eu cospedigaeth; a phan na wyddant pa beth fydd eu rhan, y mae ofn a braw yn eu meddiannu. Priodol y dywedir mai glyn cysgod angeu ydyw, canys y mae yn nos dywell niwlog ar y rhan fwyaf sydd yn tramwyo trwyddo i froydd anfarwoldeb. Ond nid yw ofn marw yn meddiannu pawb; na, y mae rhyw ychydig braidd yn mhob oes o'r byd, yn derbyn gwybodaeth o'u tynghed yn mlaen llaw; a phan y mae'r cyfryw yn gwybod y derbynir hwy, pan yn marw, i drigo yn mynwes Abraham, dyna pryd y gellir dywedyd fod ofn marw wedi cilio ymaith, a glyn cysgod angeu yn cael ei wneuthur yn oleu. Ofn marw sydd yn cymhell y rhan fwyaf o ddynolryw i grefydda, ac i barhau crefydda, ac nid un parodrwydd neillduol i ufyddhau eu Creawdwr. Ofn marw gan lawer yw gwreiddyn y mater, a'r arwydd goreu o dduwioldeb, ac o addasrwydd i wynebu barn; eithr gan wir ganlynwyr Crist, y mae ofn marw yn cilio ymaith, trwy y wybodaeth a dderbyniant gan yr Ysbryd Glân, yr hwn sydd yn eu goleuo i ddeall eu sefyllfa yn y byd a ddaw. Nid ydynt hwy yn ofni marw, eithr y maent yn ofni Duw, ac yn parchu ei eiriau o herwydd y gwyddant eu bod yn fywyd iddynt, ac yn dwyn sicrwydd i'w mynwes fod lleoedd

yn cael eu parotoi i'w groesawi tu fewn i'r llen; a hwynt-hwy yn unig yw y rhai nad oes arnynt ofn na braw i wynebu eu sefyllfa ddyfodol.

---

## Y GENADIAETH SCANDINAVIAIDD.

### GOHEBIAETH ODDIWRTH YR HENURIAD SNOW.

[Allan o'r "Millennial Star."]

Anwyl Frawd Richards,—Yn yr amser ag yr ysgrifenais o Denmark, yn mis Rhagfyr diweddaf, yr ydych yn cofio fy mod i wrth y gwaith o ddiwygio a chyhoeddi yr Athrawiaeth a Chyfammodau yn yr iaith Ddanaidd. Cafodd y gwaith pwysig hwnw ei orphen yn niwedd Chwefror, ac y mae yn ffurfio colofn arall o gryfdwr a chymhorth i'r Saint Danaidd. Oddeutu yr un amser cyhoeddwyd argraffiad newydd ac helaethach o Hymnau, wedi ei gyfaddasu i ffydd a sefyllfa y Saint; ynghyd â rhai pamphletau, yn egluro ein ffydd santaidd, mewn ychwanegiad at y cyhoeddiad misol a elwir "Scandinaviens Stjerne."

Cafodd y gwaith ag oeddwn yn achosi iddo gael ei gyfieithu i'r Swedaeg, yr hwn a elwir "En Röst fran Landet Zion" (Llef o Dir Seion), ei gyhoeddi ychydig cyn i mi ymadael. Y mae yn cynnwys oddeutu 50 o dudalenau wythplyg, ar ddechreuad, hanes, ffydd, a sefyllfa bresennol y Saint; ac yr wyf yn hyderu y bydd, yn nwylaw y Saint Swedaidd, yn foddion i daenu gwybodaeth o'r Efengyl yn Sweden, ac yn genadydd dystaw o fywyd ac iachawdwriaeth i lawer cywir galon, lle ni chaiff yr Henuriaid yr hawl o ddyrchafu eu llef i gyhoeddi tystiolaeth yr Iesu.

Yn ystod y chwe mis olaf o'm llafur yn Denmark, y mae gwaith yr Arglwydd yn y dalaeth fechan hono yn gwisgo cymmeriad mwy rheolaidd a sefydlog, ac wedi ymeangu ei ddylanwad a'i allu yn fwy nâ'r gweddill o'r amser oddiar ddechreuad y gwaith yn y tir hwnw; ac y mae'r Henuriaid a'r llafurwyr ieuainc yn y winllan wedi cael cyfarwyddyd a phrofiad, yr hyn a rydd addewid o gyflawniad llwyddiannus y gwaith ac adeiladiad yr adeilad ar y sail a osodwyd. Trwy allu a doniau yr Ysbryd Glân, y mae'r gwaith wedi myned rhagddo i'w sefyllfa bresennol, er gwaethaf gwrthwynebiad cydunol a phenderfynol yr offeiriadaeth, ac yn agos holl ddylanwadau y wlad. Yn Copenhagen, yn gystal ag mewn rhanau ereill o'r wlad, y mae wedi dirgymhell ei hun i sylw y

dosparth meddylgar, trwy wrthwynebiad yr offeiriaid, ac erlidigaethau enbyd oddiwrth y werinos, hyd nes y mae'r Saint, o'u sefyllfa isel, wedi cael eu dyrchafu i fod yn feddiannol ar un o'r Neuaddau helaethaf, a mwyaf poblogaidd yn y ddinas, yn ol y rhent o £60 y flwyddyn.

Dywed un o newyddiaduron Copenhagen, wrth sylwi ar rai o'n gweithrediadau yn ein Cymmanfa ddiweddaf, "Pwy allasai feddwl flwyddyn a hanner yn ol, y buasai ein dinas yn cael ei rhanu, gan sect newydd a braidd anadnabyddus y pryd hwnw, i ddosparthiadau a phlwyfau, gyda'u Hoffeiriaid ar Offeiriaid, a Llywyddion, gan feddu cynnorthwywyr trwy y wlad? ac y gallasai rhywun yma wrandaw ar weddiau dyddiol, yn cael eu hoffrymu dros eu chwaer Eglwysi a'u brodyr erlidiedig o Bornholm hyd Fredericia, ac o Folster i'r Skaw?"

Mae erlidigaeth wedi myned mor gyffredin, a'r hedd-ynadon a'r hedd-geidwaid, pan apelir atynt, yn myned dros y mater gyda'r fath ddifaterwch, fel ag y mae yr Henuriaid ag ydynt yn teithio yn awr i bregethu, yn cymmeryd eu bywydau yn eu dwylaw, ac yn dysgwyl rhedeg yr yrfa gystwyol yn mhlith terfysg-luoedd a ffrewyllau, gan ymorphwys yn unig ar fraich yr Arglwydd am eu diogelwch.

Ar un achlysur yn y gauaf diweddaf, mewn tref fychan chwech milltir o Copenhagen, gwnaed ymosodiadau ar ddeuddeg o Saint, yn cynnwys tair o fenywod, wrth ddyfod allan o dŷ brawd, lle yr oeddynt newydd terfynu cyfarfod hwyrol, ac ymlidiwyd hwynt am hanner awr gan derfysglu o ddeugain i hanner cant, ar y brif-ffordd a thros faesydd, a bwriwyd hwynt i ffosydd dwfr, a chawsant eu lluchio â cheryg a'u curo yn ddidrugaredd, a braidd y diangasant â'u bywydau ganddynt, gan eu bod wedi eu harcholli a'u hamddifadu o lawer o'u dillad.

Ni wnaeth y swyddog gwladol un sylw o'u hachwyniadau, oddieithr mogu y peth i fyny, a chadw y drwg-weithredwyr.

Ar achlysur arall, ar Ynys Folster, yn mis Ionawr, darfu i derfysglu, yn mhlith y rhai yr oedd offeiriad, dori i fyny gyfarfod y Saint, mewn tŷ ffermwr cyfrifol; ac ar ol diffodd y canwyllau, syrthiasant ar bedwar brawd, a rhoddasant iddynt fflangelliad creulawn. Yr oedd yr Henuriad Bruhn, y dyn cyntaf a ordeiniwyd i'r offeiriadaeth yn Denmark, yn un o'r nifer, ac efe a driniwyd yn waeth nâ neb: ar ol cael ei lusgo trwy ddwy ystafell,

gan gael ei guro â ffyn trymion, a'i fathru, a rhanau o'i ddillad yn cael eu rhwygo, a'r gweddill o honynt yn cael eu trochi â'i *waed ei hun*, hwy a fuasent yn ei fwrw i ffynnon, oni buasai ymbiliadau ysgol-feistr, trwy yr hwn y darfu iddo ddianc.

Crybwyllir y rhai hyn fel esiamplau o dderbyniad gweision Duw yn Denmark. Yr oedd llawer o erlidigaethau ereill yn ystod y gauaf mewn gwahanol ranau o'r wlad, eithr gyda llai o niwed personol. Fel peth cyffredinol, yr oedd yr offeiriaid yn eu cefnogi, a'r hedd-geidwaid a'r ustusiaid yn wincio arnynt; eithr darfu i'r eithafoedd ag oedd hyn yn cael ei gario yn mlaen, gynhyrfu y rhai mwy uchelfrydig ac anturus i lefaru allan o blaid iawnderau, a beio y mesurau gormesol hyny.

Trwy addewidion Duw yr wyf fi wedi dianc rhag un niwed personol, eithr bum agos a'i chael amryw weithiau. Y brodyr brodorol oeddynt y prif ddyoddefwyr, eithr y maent hwy wedi eu llanw â'r Ysbryd Glan ac â llawenydd mawr yn nghanol y cyfan, ac y mae pob golygfa wedi dwyn cyfeillion a chredinwyr o dan ein baner.

Gyda golwg ar y materion hyn, darfu i ni barotoi, yn ein Cymmanfa ddiweddaf, ddeiseb at y weinidogaeth a'r llywodraeth, yr hon ar ol hyny a ddanfonwyd i mewn gydag un fil o enwau; ac yr oedd amryw aelodau wedi addaw rhoddi ystyriaeth ffafriol i'r pwnc, eithr yr oedd yn agos i ddiwedd y sessiwn, ac ynghylch yr ymddangosiad, yn y papyrau Danaidd, o fynegiad y "Barnwyr anghyfiawn" hyny, y rhai a adawsant eu sefyllfaoedd yn Utah, a darfu i'r senedd addoedi heb benderfynu yn ei gylch.

Ni a gawsom amser gogoneddus yn ein Cymmanfa, o'r 20fed i'r 24ain o Chwefror, yr hon oedd fy nhrydedd Cymmanfa yn Copenhagen, ac ymddangosai fod pob un o honynt fel cynnysgaeth i'r Saint. Mi a benodais yr Henuriad John E. Forssgreen, i aros a llywyddu yn y wlad hono, hyd nes y clywai yn mhellach, ac a roddais iddo yr Henuriad P. O. Hanson, a H. P. Jensen, yn Gynghorwyr, ac a ordeiniais yr olaf i'r archoffeiriadaeth, i lywyddu dros y genadiaeth yn Norway. Rhifedi y Saint yn Denmark, mewn sefyllfa dda, oedd 600; heblaw ychydig yn Norway, Sweden, ac Iceland, y rhai nid oeddynt wedi eu cynnrychioli. Yr oedd dros 700 wedi eu bedyddio rhwng y cyfan, er pan ddaeth yr Efengyl i Scandinavia, a 45 wedi ymfudo, yn cynnwys y rhai hyny o Sweden.

Gan fod yr ymfudiad eisoes wedi dechreu, a'r pwnc yn beth cyffredin yn eu plith, mi a gynnygiais i'r Gymmanfa sefydlu Trysorfa at ymfudo y Tlodion, ar yr un egwyddor â'r Drysorfa yn America a Lloegr, i fod yn gynnorthwy i'r cyfryw, ac i fod o dan yr un reolaeth, yr hyn a gymmeradwywyd yn unfrydol ac uniongyrchol, a gosodwyd sylfaen y cyfryw Drysorfa ar y pryd a'r lle hwnw gyda oddeutu £50. Rhoddwyd cyfarwyddyd hefyd i ddechreu y cyfryw yn y Cangenau.

Mi a dderbyniais hefyd roddion haelionus tuag at y Deml, yn ol eu gallu a'u hamgylchiadau hwy. Yr oedd ysbryd rhagorol yn ffynu, a'r holl Saint yn gyflawn o lawenydd, oddieithr fod meddyliau trist ynddynt o herwydd fy nychweliad i America hebddynt hwy. Gyda golwg ar yr ymadawiad, hwy a barotoisant giniaw ardderchog yn neuadd helaeth yr Hotel de Nord, lle y bu oddeutu 300 yn cyfranogi o honi, yn cynnwys amryw gyfeillion allan o'r Eglwys. Treuliwyd y prydnawn a'r hwyr i draddodi areithiau byrion, caneuon ymadawol, &c., cyfaddasedig i'r amgylchiad. Yr oedd y Neuadd wedi ei haddurno yn addas i'r achlysur, ac wrth ben y *saloon* yr oedd torch fawr o ddail bythwyrddion, yn amgylchynu lluniau Joseph ac Hyrum Smith, a'r Henuriaid Americanaidd a ddygodd yr Efengyl i'r wlad hono; ac uwchben yr oedd banerau ac arwydd-eiriau, yn mysg pa rai yr wyf yn cofio "Herrens Löve" (Llew yr Arglwydd), yr hwn a gyfieithiodd un o'n paentwyr Danaidd allan o bapyr Seisnig yn cynnwys hanes gwledd yr Henuriad Kelsey yn Llundain. Ymddangosai yr holl gyfan yn arllwysiad gwirfoddol o'u calonau, gan mai hwy eu hunain ddarfu feddwl a mynu y peth i ben. Yr oedd yn yr hwyr yn wir gyffrous, ac hyd y pryd hwnw nid oeddwn wedi amgyffred dyfnder eu teimlad tuag ataf; a thra yn gwrandaw ar eu cynnyrchiadau gwresog o gariad a bendith arnaf fi, a llawenydd a diolchgarwch i Dduw, a chan gymharu yn fy meddwl yr olygfa o'm blaen ag ymddangosiad pethau pan y tiriais yno ugain mis yn flaenorol, yn ddyeithryn, ac heb wybod eu llythyrenau, mi a deimlais fy mod wedi cael fy nhalu yn ddeublyg am yr holl drafferthion, pryder, ac aberthau ag oedd yn gydfynedol â'm cenadiaeth i'r wlad hono.

Gadawais Copenhagen, ar fy nychweliad i dir Seion, ar y 4ydd o Fawrth, yn nghwmpeini nifer fechan o Saint ymfudol, trwy Hamburg a Hull, a chyrhaeddais Liverpool ar yr 8fed, o ba le yr

hwyliodd wyth ar hugain o Saint Danaidd i New Orleans ar yr lleg, ar eu ffordd i Ddinas y Llyn Halen.

Bydd i Willard Snow fyned i Denmark, a gwneyd ei hun yn adnabyddus o'r iaith ac ysbryd achosion yn y lle hwnw, fel y gallo ryddhau yr Henuriad Forssgreen yn yr hydref dilynol i ddychwelyd at ei deulu.

Wrth ddiweddu yr ysgrif hon ynghylch sefyllfa y Saint yn Scandinavia, nis gallaf lai nâ chyd lawenhau â'r Saint Prydeinig, a rhoddi lle i deimladau o ddiolchgarwch i Gyfranwr pob bendithion, am yr heddwch mawr a pharhaus, a'r mwyniant tawel o ryddid crefyddol yn yr ynysoedd hyn.

Bydded i fendith Duw fod yn helaethlawn tuag at yr holl Saint yn Ewrop, a thrwy y ddaear, trwy râs ein Harglwydd Iesu Grist. Amen.

*Mawrth* 23, 1852. ERASTUS SNOW.

---

## RHESYMAU DROS FOD YN SAINT.

DYWEDIR yn aml wrth lawer un o'r Saint fel hyn, "Yr wyf yn rhyfeddu yn fawr fod dynion call fel chwi wedi cymmeryd eich twyllo gan y Mormoniaid. Yn enw pob rheswm, beth a'ch cynhyrfodd i ymuno â'r fath sect ddigymmeriad, yr hon y dywedir yn ddrwg am dani gan bawb braidd, yn mhob sefyllfa." Dichon fod amryw o ddarllenwyr yr UDGORN wedi, ac yn gofyn yr un gofyniad; ac er mwyn y cyfryw, ymdrechwn osod o'u blaen rai o'n rhesymau dros ymadael ag enwadau parchusaf ein gwlad, ac ymuno â'r sect ddiystyraf o bawb. Nid nyni yw y rhai cyntaf i wneuthur hyn; gan hyny, ddarllenydd, paid a rhyfeddu cymmaint. Cafodd Moses gynt ei gyfodi i fyny mewn anrhydedd, gan deulu breninol, ac yr oedd yn cael ei ystyried yn fab merch Pharaoh; trwy hyn yr oedd mewn sefyllfa y gallai gael ei barchu a'i anrhydeddu gan fonedd a gwreng. Ond O, er syndod i lawer, dacw Moses dlws yn gwrthod cael ei alw yn fab merch Pharaoh, ac yn dewis yn hytrach oddef adfyd gyda rhyw bobl wael a diystyrllyd, nâ chael mwynhau anrhydedd a goludoedd yr Aifft. Dichon i rai ofyn iddo, "Moses, paham yr wyt ti, ddyn call a dysgedig, yn gosod dy hun mor isel ag i gymdeithasu â'r bobl yna." "Yr wyf," ebe Moses, "yn barnu yn fwy golud

dirmyg y rhai hyn, nâ holl olud yr Aifft." Paham, Moses? "canys edrych yr wyf ar daledigaeth y gwobrwy."

Felly, y mae llawer o honom ninnau hefyd wedi cael ein cyfodi i fyny yn barchus o dan ddylanwad rhyw enwad crefyddol neu gilydd, lle yr oeddem, ac y gallasem gael ein parchu yn fawr; ond dyma ni yn awr, ïe, lawer yn ein mysg, wedi gwrthod cymmeryd eu galw yn *Reverends*, &c., ond wedi dewis yn hytrach oddef eu herlid a'u gwawdio gyda Saint y Dyddiau Diweddaf, nâ chael meddu teitlau anrhydeddus pregethwyr parchus ein gwlad; ïe, wedi dewis goddef eu taflu o'u tai, yspeilio eu meddiannau, a chymmeryd eu halltudio o'u genedigol wlad, ïe, gannoedd o honynt, yn hytrach nâ chael llonydd trwy ymuno â phleidiau ereill; canys edrych y maent, gyda sicrwydd, ar daledigaeth y gwobrwy.

Yn awr, dangoswn y rheswm dros ymadael â'r enwadau ereill, ac ymuno â'r Saint. Gan fod yr holl enwadau yn pregethu yn groes y naill i'r llall, a bod yr ysgrythyr yn dangos ond un ffordd, yna gwelsom fod yn annichonadwy fod rhagor nag un o'r oll yn iawn; ac nid oedd un o'r holl bleidiau hyn, a'r a glywsom, yn proffesu eu bod wedi derbyn gwybodaeth o'r gwirionedd; ac felly yr oedd hyny, gyda llawer o bethau ereill, yn egluro i ni na feddent y wir grefydd, canys addawodd Crist wybodaeth i'r neb a ddeuant yn ddyscyblion iddo ef, yr hyn beth a haera yr holl fyd crefyddol nad oes ei eisieu. Hefyd, rheswm mawr i ni eu gadael oedd, o herwydd eu bod yn llanw y cymmeriad a roddodd apostolion Crist o'r cyfryw ddynion a gyfodent yn y dyddiau diweddaf, sef y byddai iddynt ymadael oddiwrth y ffydd, gan ddewis tyb yn lle gwybodaeth, ac ymbleidio yn lle bod mewn undeb,—pregethu eu meddyliau eu hunain, yn lle pregethu y "gair," megys y mae yn yr Iesu,—yn coffleidio rhith duwioldeb, gan wadu ei grym hi,—yn crefydda mewn ofn ac ammheuaeth, gan ddiystyru yr efengyl, yr hon sydd mewn nerth a sicrwydd mawr,—yn pentyru iddynt eu hunain athrawon yn ol eu mympwy hwy, yn lle fod Duw yn eu galw megys y galwyd Aaron ac ereill,—yn dysgu yn wahanol, ac heb gytuno ag iachus eiriau ein Harglwydd Iesu Grist, ac â'r athrawiaeth a bregethwyd gan yr apostolion santaidd;—yn diystyru prophwydoliaethau, yn gwrthod profi pob peth, a dal yr hyn sydd dda, yn ol cynghor yr apostol, gan ddweyd, "Dyma grefydd fy nhad, a'i dad yntau, ac yr wyf yn penderfynu mai hon

fydd fy nghrefydd innau," boed *right* neu *wrong;* yn didoli eu hunain, yn anianol, heb fod yr Ysbryd ganddynt, &c., &c. Yn awr, ddarllenydd, os wyt yn ddyn ystyriol, gweli fod genym liaws o resymau digonol dros ymadael â sectau y wlad, heb achos dwyn ychwaneg yn bresennol.

Wedi nodi rhai o'n rhesymau dros ymadael â'r sectau uchod; cawn yn awr osod o flaen ein darllenydd rai o'n rhesymau dros ymuno â Saint y Dyddiau Diweddaf: sef yn gyntaf, am eu bod yn pregethu athrawiaeth y Testament Newydd yn ddieithriad; yn ail, am eu bod yn tystio, ddarfod iddynt hwy dderbyn gwybodaeth oddiwrth Dduw trwy yr Ysbryd Glân, o'u cymmeradwyaeth ger ei fron; yn drydydd, am eu bod yn addaw y cawsem ninnau dderbyn yr un bendithion ag a dderbyniasant hwy, sef y doniau gwerthfawr a dderbyniai y saint yn yr oes apostolaidd. Rhyfedda dynion yn fawr, am i ni gredu y Saint, pan y rhoddent addewidion o'r bendithion hyn. Rhaid cyfaddef, nid yn rhwydd y darfu i lawer o honom eu credu; ond etto, wrth ystyried nad allem eu barnu ar dir teg, heb eu profi, a chan fod yr apostol wedi dweyd "Profwch bob peth," yna, yr oeddem yn gweled yn ddyledswydd arnom i brofi egwyddorion y Saint, serch eu bod yn dyfod allan trwy eneuau dynion, y rhai a ystyrir yn gyffredin yn "ysgubion y byd," &c. "Ië, ïe," medd ein cyfeillion, "nid ydym yn rhyfeddu cymmaint eich bod wedi cael eich hudo i ymuno â hwy, oblegid maent mor gyfrwys; ond dyma paham yr ydym yn rhyfeddu yn anghyffredin, am eich bod yn aros cymmaint o amser yn eu plith." O gyfeillion anwyl, na ryfeddwch ddywedyd o honom hyn wrthych, y mae yn fwy o achos i chwi synu a rhyfeddu am ein bod wedi ymuno â hwy, nâ'n bod yn aros yn eu plith. Pwy blant synwyrol a wnaent ymadael â thŷ eu tad, os bydd eu tad yn eu harddel fel ei eiddo? Felly, a yw yn rhesymol i ninnau beidio aros yn mhlith y Saint, tra mae ein Duw yn tywallt ei fendithion arnom, pa rai sydd yn rhoddi gwir gysur i'n henaid. Pan oeddem gynt yn darllen yr ysgrythyrau, ac yn gweled hanes y bendithion a roddai Duw i'w blant, yr oeddynt yn hollol ddyeithr i ni; ond wedi ymuno â'r Saint, yr ydym wedi derbyn y cyfryw fendithion i ni ein hunain, yr hyn sydd yn achosi i ni y fath lawenydd nefol, ïe, mwy nas gall ein tafodau draethu, na'ch calonau chwithau ddychymmygu, nes ag yr ydym yn ymhyfrydu aros yn nghyfeillach y Saint, o

herwydd ein bod yn derbyn yr Ysbryd Glân mewn nerth a sicrwydd mawr, trwy yr hwn yr ydym yn llefain Abba, Dad; pan yr ydym yn ceisio yr ydym yn cael, a phan yr ydym yn curo yr ydym yn cael agoriad. Gan hyny, pa achos rhyfeddu eydd ein bod yn aros gyda'r Saint, a ninnau yn gwybod fod ein cymdeithas gyda'r Tad, a chyda'i Fab ef Iesu Grist, canys yr hyn a welsom ac a deimlasom yr ydym yn ei dystiolaethu; yr oeddem gynt yn byw mewn ofn ac ammheuaeth, ond gyda'r Saint, derbyniasom "berffaith gariad," yr hwn a fwriodd ymaith bob ofn; ac yn awr, dywedwn, O mor hyfryd yw aros yn nghyfeillach y Saint; a chan ei bod mor hyfrydol yn awr, pa faint mwy pan y cawn gyd-gyfarfod mewn gwlad well, lle na fydd un gelyn i niweidio, nac un i ddywedyd, "Claf ydwyf." "Wel, wel, syndod byth," medd ein cyfeillion, "o bob peth, dyma y rhyfeddod mwyaf etto, yw eich bod mor ynfyd a sôn am adael eich genedigol wlad, a myned i dir ag y dywedir yn ddrwg am dano ef a'i drigolion, nid yn unig gan eich gelynion, ond hefyd gan eich brodyr eich hunain lawer o honynt, y rhai a ddanfonant lythyron yn ol at eu perthynasau a'u cyfeillion, i'w rhybyddio i beidio meddwl am ddyfod yno, o herwydd eu bod hwy wedi cael eu siomi yn fawr yn y wlad a'i thrigolion." Nid oes achos i chwi na neb arall, synu mor anghyffredin am hyn etto; ac ond i chwi bwyllo dipyn bach, dangoswn i chwi nad yw hyna yn un achos digonol i ni beidio myned tuag yno. Y mae genym hanes i Moses ddanfon deuddeg o ddynion i yspïo gwlad Canaan, un o bob llwyth, a chofiwch mai penaethiaid meibion Israel oedd y gwyr hyn oll; a Moses a'u hanfonodd hwynt i edrych ansawdd gwlad Canaan, ac a ddywedodd wrthynt, "Ewch yma tua'r deau, a dringwch i'r mynydd; ac edrychwch y wlad beth yw hi, a'r bobl sydd yn trigo ynddi, pa un ai cryf ai gwan, ai ychydig ai llawer ydynt; a pheth yw y tir y maent yn trigo ynddo, ai da ai drwg; ac yn mha ddinasoedd y maent yn preswylio, ai mewn pebyll, ai mewn amddiffynfeydd; a pha dir, ai bras yw efe ai cul: a oes coed ynddo, ai nad oes." Hwy a aethant, ac yr oedd yn ddiammau ddysgwyliad mawr yn y gwersyll, am weled y penaethiaid neu y llywyddion yn dychwelyd; yr oeddynt yn meddwl yn siwr y cawsent wybodaeth iawn gan eu brodyr eu hunain. Ac yn mhen deugain diwrnod hwy a ddychwelasant i Cades, yn anialwch Paran, i gyfarfod â chynnulleidfa meibion

Israel; yn awr, yr oedd pawb yn barod i wrandaw ar y newyddion gan y brodyr, y rhai oeddynt fel hyn: "Y mae y bobl sydd yn trigo yn y tir yn gryfion, a'r dinasoedd yn gaerog ac yn fawrion. Ni allwn ni fyned i fyny yn erbyn y bobl; canys cryfach ydynt nâ nyni. Y tir yr aethom i'w chwilio, tir yn difa ei breswylwyr yw efe; a'r holl bobl a welsom ydynt wyr corfforol: ac yno y gwelsom y cawri, meibion Anac, y rhai a ddaethant o'r cawri; ac yr oeddem yn ein golwg ein hunain fel ceiliog rhedyn, ac felly yr oeddem yn eu golwg hwythau." Anghlod a roddasant oll, oddieithr Caleb a Joshua, y rhai a floeddasant, "Awn, a meddiannwn y wlad, yr hon sydd yn llifeirio o laeth â mêl; gan orchfygu y gorchfygwn hi." Gall brodyr felly fod yn yr oes hon; er hyny, awn, a meddiannwn y wlad, canys gwyddom fod Duw yn ein galw iddi. Hyna i'th sylw, ddarllenydd, o resymau dros fod yn Saint, am y tro hwn.

*Merthyr.* THOMAS HARRIES.

---

## CYFIEITHWYR Y BIBL.

O'r "WAWR."

RICHARD DAVIES, D.D., gynt Esgob Tŷ Ddewi, a anwyd yn lle a elwir Plas y Person, Plwyf Gyffin, Sir Gaernarfon, yn Ngwynedd. Dafydd ab Goronwy oedd enw ei dad, o deulu Ithel Felyn, arglwydd Ial, Sir Dinbych; ac enw ei fam oedd Joaneth, merch Dafydd ab Richard ab Cynric, o deulu Ednowen Bendew, un o Bymtheg Llwyth Gwynedd.

Yn y flwyddyn 1550 cyflwynwyd ef i Blwyfoliaeth Burnham, ger Windsor, yn Sir Buckingham, gan y brenin Edward VI; ond ar ddyfodiad Mari i'r Orsedd bu gorfod arno roddi y Plwyf i fyny; ac yna ar hyn ymgiliodd i'r cyfandir, lle y bu hyd deyrnasiad Elizabeth, pan y dychwelodd yn ol, ac adferwyd ef i'w Blwyf trachefn, ar godiad Elizabeth i'r Orsedd. Yn Ionawr 21, 1559, cafodd ei ddyrchafu i Esgobaeth Llanelwy; Mai 21, 1561, cafodd Esgobaeth Ty Ddewi; neu Menyw, mal y gelwid yr Esgobaeth y pryd hwnw; ac yn y flwyddyn 1566, graddiwyd ef yn D.D. (Doethawr Duwinyddiaeth), yn Llundain. Yr oedd yr Esgob yn wr duwiol, yn Dduwinydd enwog, ac yn ysgolhaig penigamp; yr oedd hefyd yn Fardd, a rhoddodd ei bresennoldeb,

ynghyd ag Ynglynion o'i waith, i Eisteddfod Freninol Caerwys, yr hon a gynnaliwyd y 26 o fis Mai, yn y flwyddyn 1567.

Yn yr un flwyddyn ag y cynnaliwyd yr Eisteddfod yn Nghaerwys yr argraffwyd y Llyfr Gweddi Cyffredin cyntaf yn Gymraeg, o gyfieithad yr Esgob Davis.

Yn y flwyddyn ganlynawl, 1568, y cyhoeddwyd y cyfieithiad presennol y sy genym o'r Bibl Saesoneg. Yr argraffiad hwn a adnabyddir wrth yr enw Bibl Parker, o herwydd mai o dan ei olygiad ef, yr hwn oedd y pryd hyny yn Archesgob Caergaint (Canterbury), y dygwyd y Bibl hwn trwy y wasg. Cynnorthwywyd ef yn y gwaith gan dros bymtheg o wyr dysgedig, hyddysg yn y Groeg a'r Hebraeg ; rhoddwyd i bob dysgedig ei ddosparth ; a'r dosparth a syrthiodd i ran yr Esgob Davies, am y rhai y teimlir gan Saeson duwiol barch i'r Cymry, oedd llyfrau Josua, Barnwyr, Ruth, I Samuel, a'r II Samuel. Claddwyd yr Esgob Davies, yn Eglwys Abergwili, yn y flwyddyn 1581.

WILLIAM SALESBURY, gwr boneddig, o'r Caedu, Plwyf Llansanan, Sir Dinbych, a ymdrechodd i gyfieithu y rhanau o'r ysgrythyrau yn dylyn y Colectau, yn y flwyddyn 1551. Ac yn y flwyddyn 1567, daeth a'r Testament Newydd yn gyfan, allan i'r Cymry ; a dyna'r cyntaf erioed a argraffwyd yn Gymraeg ; a dylai'r dydd ei cyhoeddwyd gyntaf fod mewn coffadwriaeth barchus gan ein cenedl ; sef, Hydref y 7fed, 1567.

Blant anwyl, cofiwch y dydd, y mis, a'r flwyddyn ; ceisiwch hefyd y Ddarlith gampus, a rhad, pris pedair ceiniog ! sef, "BEDD GWR DUW," a draddodwyd yn Eglwys Abergwili, Hydref y 7fed, 1849, ar yr achlysur o godi Gwyddfaen Coffadwriaeth am yr Esgob Davies, gan y Parch. J. Jones, A.M., (Tegid), Nanhyfer, yn Mhenfro; yn yr hon y ceir hanes byrr a chynnwysfawr am y gwyr ardderchog. Hefyd, yn "Y Pyngciau Athrawiaethol," t. d. 171, 172, gan y Parch. A. Jones, D.D., Bangor, Sir Gaernarfon, y ceir hanes ddifyr am W. Salesbury a'r Dr. Morgan.

Y rheswm pa ham ei gelwir wrth yr enw Testament William Salesbury, yw mai ef a gyfieithodd y rhan fwyaf o hono. Y rhanau ni chyfieithwyd ganddo ef a gyfieithwyd gan yr Esgob Richard Davies ; sef, Epistol cyntaf yr Apostol Paul at Timotheus,—yr Epistol at yr Hebreaid,—ac Epistol Iago yr Apostol. Y Datguddiad, a gyfieithwyd gan Thomas Huett, Prifgantawr Eglwys Gadeiriol Tŷ Ddewi.

Dichon mai boddhäol a fyddai gan amryw weled angraifft o eiryddiaeth W. Salesbury, wrth yr argraffiad cyntaf o'r Testament Newydd yn Gymraeg: sef, wrth ddechreu ei lythyr.

"At yr oll Cembru y sydd yn caru ffydd ei hen deidieu y Britanieit gynt. Rat, a thangneddyf gan Dduw Tat ein Arglwydd Iesu Christ."

Ac wrth ddybenu ysgrifenodd fel y canlyn:—

"Eich car o waet yn ol y cnawt, a'ch brawt ffydd in Christ.
—William Salesbury."

Yn y Plas Isaf, ger Llanrwst, yr oedd ef yn byw y flwyddyn hono; daeth bendithion lawer i Gymru, dlawd cyn hyny, gydag ysgrifen anwyl iawn y gwr da; yr Arglwydd a bïau'r parch a'r addoliad, a gyflwynir iddo gan eneidiau duwiolion, am anfon attom y fath ffrwyth llafur cariad, doniau, dysg, amser, a chyfoeth ei weision, trwy roddi i ni y Testament Newydd yn Gymraeg.

Y Dr. William Morgan, o Wybrnant, Penmachno, Sir Gaernarfon, a fu Offeiriad Llanrhaiadr yn Mochnant, ac wedi hyny daeth yn Esgob Llanelwy. Yn y flwyddyn 1562; sef, yn y bummed flwyddyn o deyrnasiad Elizabeth, pasiwyd Gweithred Seneddawl yn gorchymyn i Esgobion Cymru ac Esgob Henffordd gyfieithu i'r Gymraeg y Testament Newydd a'r Hen, ynghyd â'r Llyfr Gweddi Cyffredin, a Gweinyddiad y Sacramentau, erbyn y dydd cyntaf o Fawrth o'r flwyddyn 1566. A chafodd William Salesbury ei benodi gan yr Esgobion i fod yn gynnorthwywr iddynt yn y gwaith hwn, eithr ni chyhoeddwyd mo hono, ac nid oedd barod i'r wasg pan ddaeth yr amser terfynedig i ben, a benodasid gan Weithred y Senedd, iddo ymddangos. O herwydd hyn y mae, nad oes genym ni y Cymry y Bibl o gyfieithad a ellir ei alw yn Gyfieithiad Awdurdodedig, megys y mae gan ein cymmydogion y Saeson. Ac i William Morgan, yr hwn oedd y pryd hwnw yn Weinidog Plwyf Llanrhaiadr yn Mochnant, eithr ar ol hyny y Dr. William Morgan, Esgob Llanelwy, yr ydym ni yn ddyledus am y cyfieithiad cyntaf o'r holl Fibl. Casglodd ynghyd bob rhan a gafwyd wedi ei chyfieithu, gorphenodd gyfieithu, ac yn ngwyneb llawer o wrthwynebiadau tanbaid, a rhwystrau erlidgar, efe oedd y cyntaf a roddes i'r Cymry yr holl Fibl yn argraffedig yn eu hiaith. Gwaith gwr unigawl oedd hwn, heb ei awdurdodi gan y Senedd i'w gyfieithu; ond er pob diffyg cynnorthwy, ac er yr hen arferiad rhyfedd o wrthwynebu

pob daioni cychwynol, gorphenwyd cyfieithu, ac argraffwyd y cwbl yn gyfan o'r Bibl cysegredig i'r Cymry, gan William Morgan, yn y flwyddyn 1588.

Yr Enwau, i'w cofio'n barchus ydynt, Richard Davies, D.D., Esgob Tŷ Ddewi; William Salesbury, Plas Isaf, ger Llanrwst; a William Morgan, D.D., Esgob Llanelwy.

Y Blynyddoedd i'w cofio'n ddi goll; cyhoeddwyd y Llyfr Gweddi Cyffredin, gan yr Esgob Davies a Salesbury, 1567; Testament William Salesbury, Hydref 7fed, 1567; a'r holl Fibl gan y Dr. Morgan, yn y flwyddyn 1588.

Y Lleoedd hynod, waith eu geni ynddynt; Esgob Davies, yn Plas y Person, Plwyf Gyffin, Sir Gaernarfon; William Salesbury, yn y Caedu, Plwyf Llansanan, Sir Dinbych; a'r Dr. Morgan, yn y Wybrnant, Plwyf Penmachno, Sir Gaernarfon; tri lle yn yr un gymmydogaeth, a'u clochdai fel colofnau Abraham, Isaac, a Jacob, yn cadw ar gof y gwyr bendithiol a godwyd yn oleuni mawr i'r Cymry, mewn oes dywyll. O na allem argraffu eu henwau, blynyddoedd cyhoeddiad eu cyfieithiadau o'r Ysgrythyr Lân, a lleoedd genedigaeth y cyfieithwyr, mewn llythyrenau aur mor amlwg a'r Lloer gann!

Gair y Gwirionedd sy'n hysbysu, Diar. xx. 7. "Y cyfiawn a rodia yn ei uniondeb; gwyn eu byd ei blant ar ei ol ef." Rhwydd y dichon pob gwr a gwraig oedranus, ddywedyd gyda Ps. xxvi. 25, 26, "Mi a fum ieuangc, ac yr ydwyf yn hen; etto ni welais y cyfiawn wedi ei adu, na'i had yn cardotta bara. Bob amser y mae efe yn drugarog, ac yn rhoddi benthyg; a'i had a fendithir." A dyna fel yr oedd, ac y mae gyda hiliogaeth William Salesbury a'r Dr. Morgan.

---

## LLYTHYR AT Y GOLYGYDD.

Anwyl Frawd Davis,—Y mae llawer dydd ystormus a nos dywell wedi myned heibio, er pan fu R. Evans, Glan Conway, yn mysg enwau Henuriaid Israel; ond nid yr hwn sydd yn yr amlwg sydd Iuddew, medd Paul; ac felly, yr ydwyf finnau wedi bod yn guddiedig yn hir, ond mi a gedwais ar y llwybr o hyd.

Yn awr, yr ydwyf yn dymuno bod yn fwy cyhoeddus; ac yn gyntaf yr ydwyf yn anfon at yr holl Saint Cymreig, gan

ddymuno rhan yn eu gweddiau, ac yn gofyn eu maddeuant am nad ysgrifenais atynt cyn hyn.

Os ydwyf yn gwneyd sŵn yn yr Udgorn, tystiaf yn mhellach etto fy mod yn gwybod mai gwaith Duw yw hwn, ac na ddichon yr holl fyd ei attal i lwyddo: ïe, ni ddichon y rhai twyllodrus yn mysg y Saint ei attal chwaith, ac ni ddichon swyddogion sydd yn esgeuluso eu gwasanaeth, na'r rhai sydd yn derbyn wyneb dyn, ac yn peri i'r cyfiawn ŵyro am beth coëg, &c. Y pethau hyn oll a ysgwyd Duw allan o'r eglwys hon, ac a fendithia ei Saint.

Anwyl Saint, pwy a gyfyd gyda mi yn erbyn y rhai drygionus? Pwy a saif gyda mi yn erbyn gweithredwyr anwiredd? Gallaf dystio fy mod yn gwybod fod Brigham Young, F. D. Richards, a W. S. Phillips, yn weision Duw, ac yr ydwyf yn penderfynu gwneyd fy rhan o dan eu llywyddiaeth, ac yr ydwyf yn tystio na wrthwynebais erioed un cynghor a gefais, ac na esgeulusais yr un, boed hawdd neu anhawdd ei gyflawni.

Yn awr, galwaf ar y Saint yn Ngorllewin Morganwg i ymadnewyddu yn ysbryd eu meddwl, a bod yn ddiwyd, a minnau a wnaf hefyd; canys gwelwyd yn dda gan yr Ysbryd Glân, a chenym ninnau, na ddodid arnoch faich yn ychwaneg nâ'r pethau hyn—bod i chwi gael deall eich gwaith, a chael nerth i'w orphen, fel y caffoch y wobr; a phwy bynag a gilia i ffwrdd heb hysbysu y llywydd, a gospir.

*Abertawy*, *Mawrth* 29, 1852. R. Evans.

---

## LLYFR MORMON.

Mae yn llawenydd genym i hysbysu ein darllenwyr fod y rhifyn olaf o Lyfr Mormon, yn Gymraeg, yn cael ei ddanfon allan gyda'r Udgorn hwn; a theimlwn ddiolchgarwch yn ein calonau i Dduw, am ein cynnysgaethu ag iechyd a galluoedd i gyflawni gorchwyl ag oedd mor bwysig yn ein golwg. Mae gan y genedl Gymreig achos i orfoleddu, fod y trysor hwn ganddynt yn eu hiaith eu hunain, a'u bod yn awr ar lawer o ystyriaethau yn sefyll yn gyfochrog ag ereill o'u brodyr mewn breintiau. Meddyliwn ni y dylai diolchgarwch cyhoeddus gael ei roddi i Dduw am ei ddaioni tuag atom fel cenedl.

Gan fod yr inc mewn llyfrau newyddion yn gofyn amser i sychu, nid doeth fydd rhwymo Llyfr Mormon yn rhy gynnar, os

na rybyddir y rhwymwr i beidio pwnio nemawr arno, fel ag i beidio achosi iddo gael ei brintio yn ddwbl. Bydd i ni dderbyn Llyfr Mormon etto i'w rwymo, yr un fath â'r "Ath. a Chyf.," ac am oddeutu yr un pris; a phwy bynag sydd am ei gael wedi ei rwymo felly yn dlws a rhad yn Llundain, danfoned yma ei gyfrol, ac ni a ymdrechwn ei foddio. Bydd yn ofynol i ni godi mwy o bris ar y rhai na fyddant yn dyfod i ymofyn eu cyfrolau yn brydlawn, wedi y bydd i ni rybyddio eu bod wedi dyfod yn ol o Llundain, canys yr ydym ni yn talu am danynt wrth eu cael.

---

## CWYN ALAETHUS Y DIAFOL.

Och, fy nheyrnas sydd yn pallu,
Ac yn d'rysu drwyddi draw,
Gan effeithiau teyrnas Shilo
'Rhon sy'n llwyddo ar bob llaw;
'Waeth pa gynllun a ddych'mygaf,
Er cael attal cynnydd hon,
Nid oes etto ddim yn llwyddo,
Yn un cwr o'r ddaear gron.

Er im' lunio gwych ystoriau
Am y prophwyd *Joseph Smith*,
Nid oes neb yn coelio'n gywir,
Maent yn dweyd na chredant byth;
Pawb ddeallant nad oedd dwyllwr,
Ac na bu yn cerdded dw'r;
Och, mi welaf fod fy nheyrnas
Yn adfeilio'n ddigon siwr.

Cefais gyflawn ddwy ar hugain
O flynyddau chwerwon iawn,
Er adferiad teyrnas Shilo
Yn ei hordinhadau llawn;
Grym yr ordinhadau hyny
Sydd yn dryllio'm teyrnas i,
Ac 'rwy'n methu dal fy ngweision
Yn eu herbyn ddigon cry'.

Nid oes modd i'm gweision beidio
Bod mewn blinder ac mewn cri,
Can's yr un a'r unrhyw ysbryd
Yw yr eiddynt hwy a mi;
Llid sydd ynddynt hwy a minnau,
Am ein bod yn gwybod gwir,
Sef nad oes ond 'chydig amser,
Ac fe'n drygir cyn bo hir.

*Fflint.* THOS. CONWAY.

## AMRYWIAETHAU, &c.

TRAETHODAU.—GOSTYNGIAD PRISIAU.—O hyn allan, bydd y traethodau a werthir yn awr am 7s 6c. y cant i'r cangenau, i'w cael am 7s; a'r rhai 6s 6c, am 6s; a'r rhai 3s 6c., am 3s, &c. Cyhoeddir cofres newydd o brisiau, efallai, gyda'r UDGORN nesaf. Pob Cynnadledd a Changen ag a ewyllysiont gael y DARLITHOEDD AR WYRTHIAU, mewn oddeutu 4 neu 6 o rifynau ceiniog yr un, danfonent wybodaeth erbyn yr 8fed o Fai, gan na fydd i ni gyhoeddi llawer mwy nag a elwir am danynt.

Y DDYLED.—Gobeithiwn y gwna y Llywyddion bob ymdrech i gael yr holl ddyled am lyfrau i mewn yn ddioed. Mae yn enbyd meddwl fod dros £100 heb eu talu o'r chwarter diweddaf, mewn swyddfa fechan fel hon.

---

DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU, CANGENAU, AC ERAILL, AM Y CHWARTER YN TERFYNU EBRILL 13, 1852.

*Cynnadleddau.*—Sir Fynwy, £37 6s 10½c; Sir Frycheiniog, £7 3s 7½c; Sir Gaerfyrddin, £27 8s 2¼c; Sir Aberteifi, £9 2s 1¼c; Penfro Ogleddol, £1 18s 3½c; Gorllewin Morganwg £57 5s 3c; Sir Feirionydd, £6 7s 9½c; Sir Fflint, £13 11s 2c; Sir Fon, £18 16s 8¾c; Dyffryn Conwy, £2 18s 6c; Sir Ddinbych, £14 17s 9½c; Llynlleifiad, £1 6s 11¼c. *Cangenau.*—Dinas, £1 7s 5c; Llanilltyd, £6 1s 10c; Pontytypridd, £9 18s 9c; Llanfabon, £3 13s 9½c; Cwmbach, £3 18s 8½c; Pendulwyn, £1 8s 6c; Twynyrodyn, £1 17s 3½c; Llandaf, £1 17s 5c; Gostwng, 11s 1c; Eglwysnewydd, £1 17s 7c; Pontfaen, £1 12 4c; Caerdyf, £12 17s 6c; Aberdar, £16 11s 2½c; Aberaman, £5 11s 5c; Dowlais, £5 16s 5¾c; Hirwaen, £2 4s 9½c; Cwmnedd, £2 2s 7½c; Rymni, £3 10s 10½c; Georgetown, £3 17s 2c; Merthyr, £4 3s 5½c; Pendaren, £5 2s 11½c; Cefn, £1 16s; Ynysgou, 15s 2½c; Gwernllwyn, £4 11s; Ffynnon-Tydfil, £4 3s 5c; Troedyrhiw, 6s 3c; Gog, £1 9s 5c. *Personau.*—T. Pugh, 12s; Dd. Edwards, gynt Tongwyrddlas, £1 8s 5c; David John, 9s 6c; Rees Thomas, 4s 6c; Thos. Richards, 4s; Joseph Rogers, 2s; David Davies, 3s.—Cyfanswm, £310 11s 5¾c.

TALIADAU O EBRILL 1 HYD EBRILL 13.—Sir Fynwy, £6; Dinas, £1; Pontytypridd, £1 7s; Aberdar, 13s; Merthyr, £3 16s.—Cyfanswm, £12 16s.

☞ Dymunwn hysbysu ein Dosparthwyr ein bod wedi edrych dros ein cyfrifon o'r dechreu, a bod yr holl wallau wedi eu diwygio, hyd at ddiwedd y chwarter hwn ag sydd yn terfynu gyda gorpheniad Llyfr Mormon. Ymdrechwn nodi y gwallau yn y biliau a ddanfonwn allan yn awr.

☞ Gohirir cyhoeddiad yr UDGORN nesaf hyd yr 8fed o Fai.

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 9.] MAI 8, 1852. [CYF. IV.

## COFNODAU CYNGHOR CYFFREDINOL NEILLDUOL

*Prif Awdurdodau Cynnadleddau Prydeinig Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf,*

A gynnaliwyd yn 23, Ratcliffe Terrace, Goswell-street Road, Islington, Llundain, ar y 6fed, 7fed, 8fed, a'r 9fed o Ebrill, 1852.

BOREU DYDD MAWRTH, EBRILL 6.

SWYDDOGION yn bresennol:—O'r Deuddeg Apostol—Erastus Snow, diweddaf Lywydd y Genadiaeth Ddanaidd, a Franklin D. Richards, Llywydd yr Eglwysi Prydeinig.

Cynghorwyr i Lywydd yr Eglwysi Prydeinig—Levi Richards, a Samuel W. Richards.

Llywydd y Genadiaeth Ddanaidd—Willard Snow.

Llywydd y Genadiaeth Ffrengig—Curtis E. Bolton.

Llywydd yr Eglwys Gymreig—William Phillips.

Cynghorwyr i Lywydd yr Eglwys Gymreig—Thomas Pugh.

Bugeiliaid—Jacob Gates, Cyrus H. Wheelock, Robert Campbell, Appleton M. Harmon, a Moses Clawson.

Llywyddion y Cynnadleddau—James Marsden, John Lyon, Abraham Marchant, John Hyde, sen., George Halliday, Claudius V. Spencer, John Albiston, Joseph W. Young, Thomas Squires, William Speakman, John O. Angus, Henry Savage, Vincent Shurtleff, James F. Bell, John V. Long, James Mc. Naughton, Robert C. Menzies, William Brewerton, William G. Mills, Job Smith, William Mc. Ghie, Matthew Rowan, George Kendall, Richard Rostron, John Carmichael, James T. Hardy, John W. Lewis, Edward Frost, Charles Derry, a Martin Slack.

Henuriaid Teithiol—James W. Works, a Dorr P. Curtis.

Am hanner awr wedi deg, y Llywydd F. D. Richards a alwodd y Cynghor i drefn, ac a geisiodd gan yr Henuriad J. V. Long i fod yn Ysgrifenydd.

Agorwyd y Cynghor trwy ganu y 227 Hymn, "Come, ail ye sons of Zion;" ac ar ol hyn y Llywydd F. D. Richards a offrymodd i fyny y weddi ganlynol:—

O Dduw, y Tad Tragywyddol, yn enw Iesu Grist dy Fab, yr ydym yn dymuno ymddangos ger dy fron y boreu hwn, a chyda gostyngedig ddeisyfiad yn gofyn genyt am faddeuant o'n holl bechodau a'n ffoledd, y rhai a welaist yn rhyw rai o honom. Yr ydym yn deisyf arnat i gyfranu i ni o'th ffafr freninol, a dylanwad cymmeradwy dy Ysbryd Glân, fel y teimlom yr Ysbryd hwnw yn cael ei dywallt yn helaeth arnom; i'r dyben hyny y daethom ynghyd, fel y caffem ein haddasu yn amgenach i gario yn mlaen dy waith yn y parth hwn o'r byd, ac yr ydym yn gostyngedig ymbil yr edrychi mewn trugaredd arnom. Yr ydym yn ymwybodol dy fod di yn ein hadwaen oll. Caniatâ i ni gael eofndra santaidd yn ein hymgynnulliad, fel y delo ein gweddiau i fyny o'th flaen di. Gwna i'r Ysbryd Glân ein gorchuddio tra yn y lle hwn, fel y byddo i bob dyn a lefaro, lefaru trwy nerth dy Ysbryd santaidd, fel y byddo dy fendith arnom ni ac ar ein holl gynlluniau, fel y cryfhaer y Cynnadleddau yn y wlad hon trwy ein cynghorion a'n hymgynnulliad y boreu hwn. Teimlwn roddi i ti y gogoniant am y bendithion ydwyt wedi gyfranu i ni eisoes; ti a roddaist i ni lawer o bobl ag ydynt yn ein caru; ti a'u gwnaethost i deimlo fod ein cynghorion o honot ti, a'u bod yn cael bywyd tra yn aros ynddynt. Yr ydym yn gweddio y byddwn ni o hyd yn deilwng o'r bendithion hyn oddiwrthyt ti: bydded dy Ysbryd Santaidd ynom ni megys ffynnon o ddyfroedd bywiol, yn tarddu i fywyd tragywyddol, fel y byddo cannoedd a miloedd yn cael eu dwyn i wybodaeth o'r gwirionedd trwy ein hofferynoldeb. Yr ydym yn taer weddio hefyd y bendithi di ein brodyr ar genadiaethau tramor, a'r holl rai nad ydynt gyda ni o Lywyddion Cynnadleddau a Changenau; pâr iddynt deimlo pwysfawredd y cyfrifoldeb sydd yn gorphwys arnynt, fel yr ymgeisiont i fwynhau dy Ysbryd di, fel y byddont yn ddigon cymhwys i lanw eu sefyllfaoedd pwysig mewn anrhydedd o'th flaen, fel na chaffont enwau Llywyddion, a bod yn analluog i gyflawni y dyledswyddau sydd yn perthyn iddynt. Anfon dy Ysbryd i'n

calonau i'n dysgu pa fodd i weinidogaethu yn dy waith di, fel tra fyddo gelynion yr achos hwn yn cyhoeddi athrod, ac yn crugio dirmyg arno, y byddom ni yn abl i ddangos mai dy blant di ydym, fel y galluoger ni i fawrhau ein galwedigaethau i ba rai y galwyd ni. Yr ydym yn gweddio y bydd i ti achosi i'r rhai a geisiant rwystro dy amcanion di, gael eu dystewi. Er yr holl anathemau a dywalltasant hwy allan arnynt, ti a gynnaliaist dy weision a'th bobl, ac a agoraist y ffordd trwy ba un y diogelwyd hwynt, nes y maent yn awr yn myned yn enwog yn y byd. Yr ydym yn gweddio y bydd i ti dywallt allan dy Ysbryd ar dy was Brigham: diolchwn i ti dy fod wedi gwneyd ei lais yn ddychryn i weithredwyr drygioni, yn gymmaint ag i'r rhai a fwriadasant niweidio dy bobl ffoi o flaen dy allu, yr hwn a amlygid trwy dy was Brigham. Attolygwn arnat i barhau ei fendithio ef, fel y delo dy feddwl a'th ewyllys allan; ïe, oddiwrtho ef yr hwn yn dy ddaioni a osodaist i ddysgu dy bobl yn yr holl fyd. Yr ydym yn gweddio hefyd y bydd i ti fendithio pob un o honom yn awr ger dy fron ag iechyd, ac ysbryd a nerth, fel y byddom yn mhob lle, mewn cyssylltiad â'th holl weision, yn ddychryn i weithredwyr drygioni, fel y gorfoleddom ynghyd yn dy ddaioni. Yr ydym yn gweddio ar i'th Ysbryd gael ei roddi yn fwy helaeth i'th Saint yn y wlad hon, fel ag y cynnyddont yn ngwybodaeth y gwirionedd. Yr ydym yn diolch i ti am yr haelioni a ddangosodd dy Saint gyda golwg ar y deml, yr hon a orchymynaist ti ei hadeiladu, fel yr elo dy Saint i mewn iddi a derbyn eu bendithion yn ol dy addewidion di. Bendithia, O Arglwydd, y rhai ag ydynt yn barod i gyfranu tuag at sefydlu gwahanol fathau o weithfeydd yn Seion; llwydda hwynt yn eu gorchwylion clodfawr a phwysig.

Ac yr ydym yn gweddio arnat hefyd fendithio dy weision, y brawd Smoot a'r brawd Haight, y rhai ydynt ar eu ffordd gyda chwmpeini o'th bobl tua gartref y Saint; bydded iddynt fod yn llwyddiannus i gadw dy Saint ynghyd y rhai ydynt dan eu gofal, hyd nes y cyrhaeddont ddyffrynoedd y mynyddoedd.

Ac yn awr, O Arglwydd, yn gymmaint â'n bod ni ynghyd, a rhai o'n teuluoedd yn y dyffrynoedd, bendithia hwynt â phob bendithion anghenrheidiol, a chadw hwynt rhag pob drwg, a chaniatâ iddynt gael byw i fagu etto genedlaethau i ddyfod. Yr ydym yn gofyn genyt i fendithio dy Saint mewn gwledydd tramor,—yn

Denmark, ac yn Germany. Bendithia y brawd Forssgren, ac yr ydym yn deisyf arnat i fendithio dy was Willard Snow, yr hwn sydd ynghylch myned i Denmark, i gymmeryd gofal y genadiaeth bwysig hono; caniatâ iddo deimlo dy Ysbryd yn trigo yn helaeth ynddo, fel y gallo fwynhau ysbryd ei genadiaeth. A bendithia dy was Bolton yn ei lafur yn Ffrainc; caniatâ, er fod llawer o anhawsderau i ymwneyd â hwy yn y wlad hono, iddo gael ei alluogi i wneyd llawer tuag at sefydlu dy waith yno ar sylfaen ddiogel a sicr.

Yr ydym yn gofyn genyt i fendithio y brawd Parley P. Pratt, yn America Ddeheuol: caniatâ iddo dy ffafr freninol, a chael ei alluogi i gyhoeddi dy Efengyl yn yr Yspaenaeg, a thrwy hyny osod sylfaen gwaith mawr a galluog yn mhlith meibion Joseph. Bendithia ein brodyr yn Australasia, ac ar Ynysoedd Môr y Deau; bydded iddynt hwythau hefyd fod yn dra llwyddiannus i ddwyn oddiamgylch dy fwriadau ar yr ynysoedd pellenig hyny.

Ni fynwn anghofio dy was Lorenzo Snow, yr hwn sydd â chenadiaeth bwysig iawn i'w chyflawni; cadw ef oddiwrth yr holl beryglon y byddo yn agored iddynt, a bydded ef hefyd yn foddion i sefydlu dy Eglwys yn Malta, ac hefyd yn mysg yr amryw genedloedd Hindwaidd yr ymwelo â hwynt; a bydded bendithion gyda yr holl rai a elwir i fod yn gyd-weithwyr iddo. Yr ydym yn diolch i ti am yr hyn a wnaethost trwy y brawd Willis yn yr India Ddwyreiniol, a chaniatâ iddo gael parhau i lwyddo a dwyn llaweroedd i'th adnabod Di, y gwir a'r bywiol Dduw.

Yr ydym yn gweddio ar i'th was Brigham, ynghyd â'i Gynghorwyr, Heber a Willard, gael eu bendithio yn helaethach, fel y bo llwyddiant yn dilyn eu hymrechiadau i ddwyn yn mlaen dy wirionedd di, ac adeiladiad dy Deyrnas. O Arglwydd, bendithia finnau dy was ger dy fron; ti a'm bendithiaist yn fy ngwendid, ac oblegid hyn yr wyf yn teimlo i ddiolch i ti yn mhlith fy mrodyr hyn. Ac yn awr, teimlwn i gyflwyno ein hunain a'n cyfarfod bychan i ti; a phan fyddom yn ymadael, bydded i ni gael dywedyd mai da oedd dysgwyl wrthyt ti. Yr ydym yn gofyn y cyfan yn enw Iesu Grist. Amen.

*(I'w barhau.)*

---

## GAIR AC EWYLLYS YR ARGLWYDD.

*A roddwyd yn Nhrigfan Auafol Gwersyll Israel, Cenedl yr Omahaid, yr ochr orllewinol i Afon Missouri, ger Council Bluffs, Ionawr* 14, 1847.

Gair ac Ewyllys yr Arglwydd ynghylch Gwersyll Israel yn eu teithiau i'r Gorllewin.

Bydded i holl bobl Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, a'r rhai a fyddo yn teithio gyda hwynt, gael eu corffoli yn gwmnioedd, gyda chyfammod ac addewid i gadw holl orchymynion a deddfau yr Arglwydd ein Duw. Corffoler y cwmnioedd gyda Chadbeniaid ar Gannoedd, Cadbeniaid ar Ddegau a deugain; a Chadbeniaid ar Ddegau, gyda Llywydd a'i ddau Gynghorwr i'w blaenori, o dan gyfarwyddyd y Deuddeg Apostol; a hyn fydd ein cyfammod, y bydd i ni rodio yn holl ordinhadau yr Arglwydd.

Bydded i bob cwmni ddarparu eu hunain â'r holl weddeuau, wageni, lluniaeth, dillad, ac anghenrheidiau ereill at y daith, ag a allont.

Wedi i'r cwmnioedd gael eu corffoli, bydded iddynt fyned yn eu nerth, i barotoi gyferbyn â'r rhai ag ydynt i aros.

Bydded i bob cwmni gyda'u Cadbeniaid a'u Llywyddion benderfynu pa nifer a all fyned y gwanwyn nesaf; yna detholwch nifer ddigonol o wyr galluog a medrus, i gymmeryd gweddeuau, hadau, ac offerynau amaethyddol, i fyned fel Pioneers i barotoi erbyn hau cnydau y gwanwyn.

Bydded i bob cwmni ddwyn rhan gyfartal, yn ol rhaniad eu heiddo, wrth gymmeryd y tlodion, y gweddwon, yr amddifaid, a theuluoedd y rhai a aethant i'r fyddin, fel na ddelo llef y weddw a'r amddifad i fyny i glustiau yr Arglwydd yn erbyn y bobl hyn.

Bydded i bod cwmni barotoi tai a maesydd at godi ŷd i'r rhai hyny ag ydynt i aros ar ol y tymmor hwn, a hyn yw ewyllys yr Arglwydd ynghylch ei bobl. Bydded i bob dyn ddefnyddio ei holl ddylanwad a'i feddiannau er symud y bobl hyn i'r lle y sefydla yr Arglwydd estynfa o Seion; ac os gwnewch hyn â chalon bur, mewn pob ffyddlondeb, chwi a fendithir; chwi a fendithir yn eich da, ac yn eich defaid, ac yn eich maesydd, ac yn eich tai, ac yn eich teuluoedd.

Bydded i'm gweision Ezra T. Benson ac Erastus Snow reoleiddio cwmni; a bydded i'm gweision Orson Pratt a Wilford

Woodruff reoleiddio cwmni. Hefyd, bydded i'm gweision Amasa Lyman a George A. Smith reoleiddio cwmni; a phenodi Llywyddion, a Chadbeniaid ar Gannoedd, ac ar Ddegau a deugain, a Degau, a bydded i'm gweision penodedig fyned a dysgu fy ewyllys hon i'r Saint, fel y byddont barod i fyned i wlad o heddwch.

Dos i'th ffordd a gwna megys ag y dywedais wrthyt, ac nac ofna dy elynion; canys ni chant allu i rwystro fy ngwaith i. Seion a waredir yn fy amser cyfaddas fy hun; ac os ceisia neb adeiladu ei hun, ac ni chais fy nghynghor i, ni chaiff efe ddim gallu, a'i ffolineb a wneir yn amlwg. Ceisiwch chwi, a chadwch eich addunedau y naill tuag at y llall, ac na chwennych yr hyn sydd eiddo dy frawd.

Ymgedwch rhag drwg, i gymmeryd enw yr Arglwydd yn ofer, canys myfi yw yr Arglwydd eich Duw, sef Duw eich tadau, Duw Abraham, ac Isaac, a Jacob. Myfi yw yr hwn a arweiniodd blant Israel allan o wlad yr Aifft, ac y mae fy mraich yn estynedig yn y dyddiau diweddaf i achub fy mhobl Israel.

Peidiwch amryson y naill a'r llall. Peidiwch dywedyd yn ddrwg am eich gilydd.

Darfydded eich meddwdod, a thuedded eich geiriau i adeiladu y naill y llall.

Os benthyci gan dy gymmydog, ti a gai ddychwelyd yr hyn a fenthyciaist; ac os na elli ad-dalu, yna dos yn union a dywed wrth dy gymmydog, rhag iddo dy gondemnio. Os bydd i ti gael yr hyn a gollodd dy gymmydog, ti a gai wneuthur ymchwiliad manwl hyd nes yr adferu ef iddo drachefn.

Ti a gai fod yn ddiwyd i gadw yr hyn sydd genyt, fel y byddot yn oruchwyliwr doeth; canys rhodd rad yr Arglwydd dy Dduw ydyw, a thydi yw ei oruchwyliwr. Os wyt yn llawen, clodfora yr Arglwydd â chân, â cherddoriaeth, â dawns, ac â gweddi o fawl a diolchgarwch.

Os ydwyt yn drist, galw ar yr Arglwydd dy Dduw mewn deisyfiad, fel y byddo dy enaid yn llawen. Nac ofna dy elynion, canys y maent hwy yn fy nwylaw i, ac mi a wnaf fy ewyllys tuag atynt. Rhaid i'm pobl gael eu profi yn mhob peth, fel y byddont yn barod i dderbyn gogoniant ag sydd genyf er eu mwyn, ie, gogoniant Seion, a'r hwn ni oddefo gerydd, nid yw deilwng o'm teyrnas. Bydded i'r anwybodus ddysgu doethineb trwy ymostwng a galw ar yr Arglwydd ei Dduw, fel yr agorer ei lygaid

i weled, ac yr agorer ei glustiau i glywed, canys y mae fy ysbryd wedi ei anfon allan i'r byd i oleuo y gostyngedig a'r edifeiriol, ac er condemniad yr annuwiol. Dy frodyr a'th wrthodasant di a'th dystiolaeth, sef y genedl yr hon a'ch gyrodd allan; ac yn awr y mae dydd eu hadfyd yn dyfod, ie, dyddiau tristwch, megys gwraig a gymmerir gan wewyr esgor; a'u tristwch a fydd yn fawr, oni edifarhant ar frys; ïe, yn dra buan; canys hwy a laddasant y Prophwydi, a'r rhai a anfonwyd atynt, ac y maent wedi tywallt gwaed gwirion, yr hwn sydd yn gwaeddi o'r ddaear yn eu herbyn hwynt: am hyny, na ryfedda oblegid y pethau hyn, canys nid ydwyt ti yn bur; ni elli etto ddyoddef fy ngogoniant i; eithr ti a gai ei weled os byddi yn ffyddlawn i gadw fy ngeiriau y rhai a roddais i ti er dyddiau Adda hyd Abraham; o Abraham hyd Moses; o Moses hyd Iesu Grist a'i Apostolion; ac o Iesu Grist a'i Apostolion hyd Joseph Smith, yr hwn a alwais trwy fy Angylion, fy ngweision gweinidogaethol; a thrwy fy llais fy hun allan o'r Nefoedd, i ddwyn allan fy ngwaith, sylfaen yr hwn a osododd, ac a fu ffyddlawn, ac mi a'i cymmerais ef ataf fy hun. Mae llawer wedi rhyfeddu oblegid ei farwolaeth, eithr yr oedd yn angenrheidiol iddo ef selio ei dystiolaeth â'i waed, fel y caffai ef ei anrhydeddu, a'r drygionus eu condemnio. Ai ni waredais i chwi oddiwrth eich gelynion, ond yn unig fy mod wedi gadael tystiolaeth o'm henw? Yn awr, gan hyny, clywch, O chwi bobl fy Eglwys; a chwi Henuriaid, cyd-wrandewch; chwi a dderbyniasoch fy nheyrnas, byddwch ddiwyd i gadw fy holl orchymynion, rhag i farnedigaethau ddyfod arnoch chwi, ac i'ch ffydd fethu, ac i'ch gelynion fuddugoliaethu arnoch.—Efelly dim rhagor yn bresennol. Amen, ac Amen.

---

## EPISTOL LLYWYDD CYNNADLEDD AT Y SAINT DAN EI OFAL.*

SAINT ANWYL,—Goddefwch i mi alw eich sylw at rai pethau perthynol i chwi yn y dyddiau presennol. Gan fod ein Duw ni yn awdwr trefn, a bod rhaid cadw pob peth a ddysgir gan ei

* Cafodd sylwedd yr Epistol hwn ei ddysgu gan y Llywydd Phillips yn y Gynnadledd Gyffredinol o Swyddogion ar y 26ain a'r 27ain o Ebrill; a meddyliasom mai gwell oedd gadael allan enw y Gynnadledd, a chymhwyso yr Epistol at Saint pob Cynnadledd arall.—GOL.

Ysbryd ef trwy ei weision, gweddus i chwi fod yn hysbys o'r mesurau a sefydlwyd trwy lais unfrydol yr Offeiriadaeth ar eich rhan.

Am hyny, ymdrechaf wneyd i'r UDGORN roddi sain hynod, fel y byddo i chwi ymbarotoi (1 Cor. xiv, 8); canys yr ydym yn gobeithio cael cyd-weithrediad pob un o honoch, a chwi yn gwybod mai gwaith Duw ydyw; am hyny, cofiwch mai hyn yw gwaith Duw, gredu o honoch yn yr hwn a anfonodd efe, a chan mai at ddefaid colledig tŷ Israel y danfonwyd Crist, ac mai yr apostolion a anfonwyd at y Cenedloedd, felly hefyd y danfonwyd ninnau atoch chwi; a'r hwn sydd yn ein derbyn ni, sydd yn derbyn yr hwn a'n danfonodd ni; o ganlyniad, dysgwn i bob un ei wers ei hun, ac nid oes amser gan neb i chwilio a beio gwaith arall, a gadael ei waith ei hun ar ol.

Yn gyntaf, Llywydd y gangen: rhaid i hwn fod yn ostyngedig ac yn ufydd i bob galwad a fyddo arno, gan fod yn barod i dderbyn pob peth a roddir iddo i'w wneuthur, heb na digter na dadl. Rhaid iddo hefyd gadw llywodraeth ar ei wraig, ac nid cymmeryd ei lywyddu ganddi hi; canys oni all dyn lywodraethu ei hun a'i wraig, pa fodd y cymmer efe ofal dros eglwys Dduw? Rhaid hefyd i bob mam gadw llywodraeth ar ei phlant, onide ni ddichon iddi gael rhan yn y deyrnas; canys oni all hi lywodraethu ei heiddo, pa fodd y gall deyrnasu? Am hyny, os y wraig a lywodraetha y gwr, a'r plant a lywodraetha eu rhieni, hwy a ddemnir oll, ac nid oes gwaredigaeth. Rhaid hefyd fod gan y Llywydd lywodraeth ar y swyddogion o dan ei ofal, fel y gallo ddweyd wrth un, Dos, ac efe a â, ac wrth arall, Tyred, ac efe a ddaw, ac wrth arall, Gwna hyn, ac efe a'i gwna; onide, ni achubir ef na hwythau.

Nid gweddus i Lywydd feddwl ei hun yn well pregethwr nâ neb arall, canys nid i bregethu y gosodwyd ef, ond i lywyddu; am hyny, peth rhyfedd fyddai gweled goruchwyliwr yn gwneyd y cwbl ei hun, a'r holl weithwyr yn sefyll i edrych arno. Nid mewn cyrddau cyhoeddus mae y Llywydd i'w adnabod, ond yn y cynghor; canys yno y mae ef fel cadeirydd i gadw trefn, ac fel barnwr yn penderfynu achosion pwysig, ac fel goruchwyliwr yn anfon pob gwas at ei waith ei hun. Dylai y Llywydd gael clywed gan yr holl swyddogion pa beth y maent yn ei ddysgu i'r Saint, a pha bryd y mae pob un yn ymweled â'r rhai sydd o

dan ei ofal, canys y mae trefn briodol i wneyd yr holl bethau hyn hefyd.

Yn ail, cynghorwyr y Llywydd: y rhai hyn sydd i chwilio i mewn i bob achos, megys holi y rhai fyddo yn dwyn cyhuddiad i gynghor, &c., fel y byddo y cyhuddiedig yn cael cyfiawnder, ac na wneler dim yn fyrbwyll neu bleidiol; y cynghorwyr hefyd sydd i ddysgu y swyddogion pa fodd i wneyd eu gwahanol swyddi. Gwelwch mai y TAD yw *Llywydd* holl waith ein hiachawdwriaeth, ond y Mab yw ei Gynghorwr Rhyfeddol, ac efe sydd wedi dysgu i ni gadw pob peth. Yr Ysbryd Glân hefyd sydd yn cymmeryd o eiddo y Mab ac yn ei fynegi i ni (Esay ix, 6; Ioan xvi, 15). Am hyny, pan fyddo cynghorwyr dan Ysbryd eu swyddi, gallant ddysgu yr henuriaid pa fodd i ymweled â'r Saint bob mis yn ddiffael, a dysgu iddynt pa beth yw doniau yr Ysbryd Glân, fel y gallo Saint ieuainc adnabod ei effeithiau; a dyna pa fodd y gall yr henuriaid wybod o ba ysbryd mae pob aelod, canys mae y ddawn o wahaniaeth ysbrydoedd yn dangos y gwahaniaeth rhwng gwaith Duw a gwaith dynion. Profwch yr ysbrydion ai o Dduw y maent; ond yr henuriaid sydd yn esgeuluso y pethau hyn, nis gallant weled gogoniant eu galwedigaeth; a'r hwn nid yw yn dysgu ei wers ei hun, ni ddichon iddo sefyll.

Yn drydydd, ysgrifenydd y Gangen. Gwaith hwn yw cadw cofnodau cywir o bob peth, megys pob un a fedyddir, a dderbynir trwy lythyr, pob plentyn a fendithir, &c.; hefyd, ymadawiad pob un, neu farwolaeth, neu doriad allan. Er mor eglur yw y pethau hyn, mae rhai yn esgeulus, heb gadw cof am danynt. Mae eisieu hefyd fod yn ofalus gyda chofnodau y cynghor, na byddo pethau pwysig heb eu hysgrifenu yn ddealladwy, ac na byddo dim yn cael eu basio yno, ac heb ei roddi mewn gweithrediad wedi hyny. Hefyd, rhaid ysgrifenu ar lyfr priodol i hyny hanes pob cyfarfod a fydd y Saint yn ei gynnal, pa un bynag ai gweddio ai tystiolaethu; nid beth a ddywedodd pob un, ond nodi pa fath gyfarfod oedd ef; ac os dysgwyd rhywbeth neillduol, nodi pa beth oedd, ac nid pa fodd y dysgwyd, megys, "Dysgodd y Llywydd i'r Offeiriaid bregethu—y Dysgawdwyr i borthu'r Saint—y Diaconiaid i ofalu am y casgliadau—yr aelodau i lanhau eu hunain, ac i ddyfod i'r cyfarfodydd." Dylai pob aelod hefyd gadw cof-lyfr iddo ei hun am y pethau mwyaf hynod yn ei fywyd, a'r

lle y ganwyd ef, a pha bryd, pa le a pha bryd y priodwyd ei rieni, a pha le a pha bryd y claddwyd ei henafiaid. Os ydyw pethau fel hyn yn anghenrheidiol yn ol cyfraith Lloegr wrth dderbyn etifeddiaeth, pa faint mwy yn mysg llwythau Israel? Yr hwn ni wna hyn, bydd edifar ganddo.

Yn bedwerydd, llyfr-ddosparthwr y gangen. Mae ef i ymgynghori â'r Llywydd pa lyfrau sydd eisieu, ac i ofalu na byddo neb yn galw am lyfrau heb eu derbyn, na'u derbyn heb dalu am danynt; canys nid dyled i'r cyhoeddwr yw arian y llyfrau, ond dyled i'r Eglwys; am hyny, pwy bynag a wna dwyll yn yr arian hyn, ni ddianc yn ddi gosp, am ei fod yn yspeilio Duw yn y pethau a drefnodd er adeiladu ei deyrnas. Ac nid oes cymmaint â llyfr i lynu wrth ddwylaw neb, nac i'w roddi yn anrheg i neb, heb i'r hwn a'i rhoddo ofalu am dalu am dano; a phwy bynag a wario arian y llyfrau at rywbeth arall, a gospir, ac ni all gael maddeuant nes gwneyd iawn i'r eglwys am hyny. Os bydd llyfrau ar law, gwell i'r aelodau eu prynu, pe bai ond gwerth swllt bob un, a'i gwerthu i'w cymmydogion a'u cydnabod. A bydded bendith Duw Dad Holl-gyfoethog ar bob Sant ffyddlawn. Amen. R. EVANS.

---

## LLYTHYR O DDINAS Y LLYN HALEN FAWR AT OLYGYDD YR "UDGORN."

*Dinas y Llyn Halen Fawr, Ionawr* 31, 1852.

ANWYL FRAWD DAVIS,—Gyda hyfrydwch a phleser yr ydwyf yn ysgrifenu atoch y waith hon etto o'r gorllewin pell, gan obeithio y cyrhaedda y papyryn hwn chwi yn ddiogel, a'ch cael yn mwynhau iechyd a llwyddiant tymmorol ac ysbrydol, yr hyn yw dymuniad eich hen gyfaill. Daw i'm cof yn aml am yr amser gynt yn Llanybydder, pan oeddem yn fabanod bychain newydd ein geni i gorlan y Bugail da. Mawr y llawenydd oeddem yn ei deimlo y pryd hyny, pan nad oedd ond pedwar o honom yn cynnal ein cyfarfodydd yn fy hen annedd (Glantrenfawr), ac yn gofyn am bethau mawr gan ein tirion Dad; a mwy ein llawenydd pan fyddem yn cael atebiad o'r hyn a fyddem yn ei ofyn ganddo, a'n bod hefyd yn gwybod ar y pryd fod ein cymmydogion agosaf, a'n perthynasau a garem mor anwyl, yn

amddifad o'r gwirioneddau hyny ag oeddem ni eisoes wedi dyfod yn wybodus o honynt.

Nid hir y buom yno cyn i amryw yn ychwaneg i lestio dan yr un faner â ninnau. Cwynai amryw o'n cymmydogion ni y pryd hyny fod yr hen Gadben Jones (fel y dywedent), wedi ein twyllo, a'n bod wedi addaw yr oll a feddem iddo, &c., yr hyn ni allasent hwy na neb arall brofi fod un gair o hyny yn wir hyd y dydd hwn. Yn yr amser hyny daeth amryw o frodyr ffyddlawn heibio i ni, sef y brodyr Abel Evans a Thomas Harries, ac ereill, pa rai a wnaethant ddaioni mawr i ni trwy eu cynghorion gwerthfawr, a'r profiad mwy na ni ag oeddynt wedi gael yn Eglwys Iesu Grist. Pan yn y sefyllfa hyny, ac yn cynnyddu yn raddol, cynddeiriogai tad y celwydd a'i blant wrthym yn ddirfawr, hyd nes yr aethom yn nod a gwawd rhai parchedigion cyfagos; ond yr oll a weithiodd allan er daioni i ni. Cofus genych am y llythyr hwnw a gefais oddiwrth Capt. D. S. Davies, Dolau, gan fy mygwth mor enbyd o herwydd y grefydd a broffeswn, gan alw y Seintiau, druain, "The damned night deepers that leadeth the people away down to hell;" ond gwelodd yr Arglwydd yn dda i'n bendithio yn gyferbyniol i'r erlidigaeth a ddyoddefasom. Byddai yn rhy faith i mi yn awr grybwyll am Daniel Ddall gynt, ac erlidwyr creulawn ereill, canys gwn y cant oll gyfiawnder yn y dydd a ddaw, pan y bydd dirgelion pob calon yn cael eu chwilio.

Esgusodwch fi, anwyl frawd, am ysgrifenu yr hyn ag oeddech yn ei wybod yn flaenorol; mae yn bleser genyf i ysgrifenu a chofio am yr amser gynt.

Yn awr, anturiaf i roddi ychydig o'n hanes yma i chwi. Daeth amryw o genedl y Cymry yma yr hydref diweddaf, a'r oll o honynt yn mwynhau iechyd rhagorol. Yn mhen ychydig wedi eu dyfodiad yma, cefais yr anrhydedd o fedyddio tua deunaw o honynt yr un diwrnod; cawsant eu cadarnhau yn fy nhŷ fy hun; wedi eu bedyddio, tywalltodd yr Arglwydd ei Ysbryd arnynt yn helaeth, ac arnom ninnau wrth weinyddu mewn modd neillduol. Nid rhyfedd ein bod yn teimlo mor dda, oblegid cariad a llawenydd a drygai yn mhob calon. Mae yr ordinhad o fedydd yn anghenrheidiol i bawb o'r Saint i ufyddhau iddi ar ol y deuant yma. Rhoddodd ein parchus lywydd Brigham Young a'i gynghorwyr, a'r deuddeg, ufydd-dod i'r ordinhad uchod pan y

daethant yma, gan adnewyddu eu cyfammod i'r Arglwydd i fyw yn ffyddlawn, &c. Y mae pob peth yn myned yn y blaen yma yn dda; ystordy yr Arglwydd yn cael ei lanw yn gyflym; dysgwyliwn am fwy-fwy o fendithion yn barhaus, o herwydd y mae yr addewid o'n tu. Dywedodd yr Arglwydd trwy y prophwyd, "Onid agoraf i chwi ffenestri y nefoedd, a thywallt i chwi fendith, fel na bo digon o le i'w derbyn?" Mae lluoedd o'r Saint yn y flwyddyn a aeth heibio wedi cael eu cynnysgaethiad, ac yr ydys yn parhau i'w roddi etto y flwyddyn hon. Cafodd amryw o'r Cymry y fraint oruchel o'i gael hefyd. Dywedaf wrthych, frawd Davis, mai gwyn eu byd y rhai gostyngedig a ffyddlawn (a llwyr gredaf eich bod chwi yn un o'r cyfryw), canys bendithion llawer sydd ar eu cyfer nad ydynt wedi eu cael hyd yn hyn. Nid ydwyf yn feddiannol ar eiriau nac ymadrodd i ddesgrifio ardderchogrwydd, gogoniant, a doethineb y drefn santaidd a osododd fy Meistr, fy Nhad daionus, er dwyn ei blant i gael etifeddu bywyd tragywyddol. Y mae amryw o dai mawrion wedi cael eu hadeiladu yma yn y flwyddyn a aeth heibio gan yr Eglwys, ac yr ydys yn awr yn parotoi er gwneuthur muriau mawrion o amgylch y *Temple Block*; buan yn ddiau y gwelir yma deml ardderchog, yr hon ni welwyd ei bath yn yr oruchwyliaeth hon, os parha y Saint mor ffyddlawn ag y maent yn bresennol. Y mae eu diwydrwydd a'u ffyddlondeb, a'u llwyddiant, yn destun syndod gan y byd, ac nis gwyddant yn iawn pa beth i ddweyd nac i feddwl am danom; ond addefant fod rhywbeth rhyfedd yn bod. O, na fyddent ddoethion, na ddeallent fod llaw anweledig yr Arglwydd yn diogelu ac yn cynnal ei blant yn feunyddiol, er iddo oddef i elynion y Saint eu herlid o fan i fan, o ddinas i ddinas, hyd nes darfu iddynt o'r diwedd eu herlid i'r anialwch, tua mil o filltiroedd oddiwrth bob sefydliad o bobl wynion. Hyn sydd dda ein bod mor bell oddiwrthynt; cawn lonydd yma i addoli ein Duw, "heb neb i'n haflonyddu, na'n dychrynu," canys mae *mobs* Missouri ac Illinois yn rhy bell. Ni chlywn yn y ddinas dawel hon y cableddau creulawn, sef twyllwyr, Sataniaid, a gau-brophwydi, &c., &c. O mor hyfryd yw trigo o frodyr ynghyd, yn mhell oddiwrth Phariseaid a rhagrithwyr yr oes hon; ond er mor belled yr ydym, daw amryw o'r Cenedloedd heibio i ni, pa rai sydd yn glaf o'r clefyd melyn. Maent yn awyddus i ymgasglu at eu duw aur sydd yn California

Isaf; nid arosant yma ond ychydig. Paham? Oblegid teyrnasa Ysbryd y Duw byw yma; canys ofn, arswyd, a dychryn sydd ar bechaduriaid yn Seion. Etto, bedyddiwn ambell un o'r rhai gonest eu calon o waed Ephraim sydd yn dyfod yma yn eu mysg. Llawenha a gorfoledda y cyfryw gyda ni yn iachawdwriaeth ein Duw. Pa bryd y caf eich gweled yma, anwyl frawd? Diau y dymunech fod yn llygad y ffynnon fawr o oleuni a gwybodaeth, yr hon sydd â'i ffrydiau grisialaidd yn myned yn gyflym i bedwar cwr y ddaear; ond etto, efallai fod dyledswydd yn eich galw i aros yna am ychydig; os felly, ni chollwch ddim, ond y mae yn golled i'r rhai a wrthodant ddyfod yma pan y bydd y ffordd yn rhydd iddynt ddyfod.

Mor felys yw gwrandaw cynghorion ein llywydd Brigham a'i gynghorwyr, ynghyd â'r deuddeg yn eu tro: dangosant mor eglur ein dyledswyddau yn yr Eglwys hon, a'r wobr fawr sydd o'u cadw. Pa beth yw doethineb Colegau y byd mewn perthynas i Dduw Dad, a'i Fab Iesu Grist, a nerthol weithrediadau yr Ysbryd Glân? Atebaf, dim; canys eu doethineb sydd anianol, daearol, canys nid ydynt yn synied y pethau sydd oddi uchod; gwrthwynebant ddoethineb dwyfol, a gallu Duw yn ein hoes ni, fel ag y gwnaethant yn mhob oes pan y byddai yr offeiriadaeth ar y ddaear.

Mae yn rhaid terfynu; ac os gwelwch y llythyr hwn yn deilwng o ymddangos yn eich Udgorn, y mae at eich ewyllys; ac os ymddangosa yn yr Udgorn, dywedaf etto wrth y rhai a'i darllena o'r Saint, Ffowch, ffowch i Seion, yn ol cynghor gweision Duw, y llywyddiaeth yn Nghymru. Dymunwn yn fawr gael clywed oddiwrth fy mherthynasau, fy Nhad, a Dafydd fy mrawd, a'm chwaer Sarah, os nad ydynt wedi cychwyn tuag yma. Dymunaf ar deulu Cefncrwth, Mydrim, anfon llythyr tuag ataf; carwn yn fawr eu gweled yma, a gobeithiaf fod yr hyn a ddywedais wrthynt yn aros yn eu cof. Dymunaf ar fy mam-yn-nghyfraith i anfon ataf yn fynych. Mae fy ngwraig yn cyduno â mi, ynghyd â'r brawd Benjamin Jones, Sadler a Richard Jones, i'n cofio atoch chwi â'r brawd Thomas Harries yn fawr.

Ffarwel am ychydig, anwyl frawd.

Eich gostyngedig was,

THOMAS JEREMY.

---

## YSBRYD GAU.

Mae yr Arglwydd, trwy ei brophwyd Joseph Smith, wedi dywedyd fod llawer o ysbrydion gau wedi myned allan ar hyd y ddaear, gan dwyllo y byd; ac felly yn union y mae. Ymddengys mai un o'r pethau mwyaf anhawdd o bob peth, yw i'r byd lefaru y gwirionedd yngbylch gwaith mawr a rhyfeddol Duw, a'i weision. Os â rhywun i wrandaw ar ein Henuriaid yn pregethu neu areithio, ymddengys braidd yn anmhosibl iddo ddychwelyd at ei gyfeillion, a rhoddi iddynt adroddiad cywir o'r hyn a glywodd. Os traetha y bobl bethau er ein niwed, maent yn ddieithriad yn saethu dros y nod. Os bydd rhyw ychydig yn llefaru yn ffafriol am danom, yn fynych canmolant ni hyd yr wybrenau. Cydbwysedd gwirioneddol yw y pwynt diweddaf a gyrhaeddir. Mae rhifyn diweddar o gyhoeddiad cyfrifol yn ein hysbysu fod "Poblogaeth Formonaidd Tiriogaeth Utah yn cael ei chyfrif yn gredadwy yn 300,000."

Nis gwyddom ni trwy ba awdurdod y mae'r cyhoeddiad hwn yn cael ei "gyfrif credadwy," eithr credwn yn ddiau ei fod yn mhell iawn oddiwrth y gwirionedd. Gwnai y newydd hon ein harwain i feddwl fod Saint y Dyddiau Diweddaf o bob cenedl ar y ddaear wedi cyd-ymarllwys ar unwaith i Diriogaeth Utah; neu, fod Joseph Walker, yr enwog benaith Indiaidd, wedi llwyddo gyda'r llwythau lliosog o'i frodyr cochion i ymuno a chydgymdeithasu â'r Saint. Yr ydym, pa fodd bynag, yn sicr o un peth, er cymmaint y dirmygir hwynt, y bydd raid i'r byd edrych trwy y "*Spectacles* Mormonaidd," cyn y cânt allan y Gwir diledrith.—*Gol. y* Star.

---

## EISTEDDFOD Y SAINT.

Cynnaliwyd Eisteddfod areithio, adrodd, a chanu, ar y 26ain o Ebrill, yn Merthyr-Tydfil, tuag at dalu dyledion y Gynnadledd; a llywyddwyd ar yr achlysur gan y brawd Dewi Elfed Jones. Treuliwyd y cyfarfod mewn dull pleserus, ac er boddlonrwydd cyffredinol. Yn mhlith pethau ereill a gymmerodd le yn yr Eisteddfod hon, gallwn nodi i ni gael yr anrhydedd o anrhegu y Llywydd Phillips â chopi hardd o Lyfr Mormon yn yr Iaith Gymraeg, yr hyn a effeithiodd yn ddwys ar bawb o'r presennolion. Mae yn ddiau y cofir yr olygfa yn hir. Ni lefarasom ar yr achlysur ond iaith ddifyfyr ein calon, yr hon bob amser a dreiddia yn mhell; a'r parchus Lywydd Phillips a'n hatebodd mewn modd cyffelyb. Hoff oedd gan bob un o honom gydio yn y llyfr rhagorol hwn, dan ystyriaeth ein bod wedi cael y fraint o fod yn offerynau gan yr Arglwydd i'w ddwyn allan i genedl y Cymry. Ar ol i'n brawd Phillips eistedd, cyfododd y brawd R. Evans, Glan Conwy, i adrodd y pennillion canlynol:—

Gorfoledd gwir felys, cyhoeddus a haeddol,
A gafwyd yn weddus a gwir adnewyddol;
Cafwyd y trysor fu'n nghudd yn Cumorra,
Mae wedi ei gyfieithu i iaith meibion Gwalia.

Clod fo i Dduw am ddangos y trysor,
Ac am roddi cenad i'r gist gael ei hagor;
A chofir y llafur fu wrth ei gyfieithu,
Yn mhlith y gorchestion a wnaethwyd yn Nghymru.

Trwy lafur a phoenau y gwaith a orphenwyd,
Yn anrheg i'r Llywydd, wr dedwydd, fe'i rhoddwyd;
Hir oes i'r Cyfieithydd, a'r Llywydd i'n llywio,
A chlod am y llyfr yn nhafodiaith y Cymro.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CYFRAITH GYFFREDIN YN UTAH.—"Y dyn a hudo wraig ei gymmydog a raid farw, a'i pherthynas agosaf hi sydd raid ei ladd ef." Felly y mae'r Saint yn bwrw drygioni allan o'u mysg.—*Star.*

Y "STAR."—Mewn Cynnadledd Gyffredinol Neillduol, a gynnaliwyd yn ddiweddar yn Llundain, penderfynwyd fod y "Millennial Star" i ddyfod allan bob wythnos o hyn allan, yn yr un maintioli ac am yr un bris ag o'r blaen. Mae hyn etto yn arwydd arall o lwyddiant Mormoniaeth. Argreffir dros dair mil ar hugain o'r cyhoeddiad gwerthfawr hwn yn wythnosol, yr hyn a effeithia yn rymus i ddryllio teyrnas y gelyn a dyrchafu enw Crist.

AMDDIFFYNIAD Y MORMONIAID.—Dywed gohebydd yn Philadelphia o eiddo y *Manchester Examiner*:—"Yr wyf wedi sylwi ar hanesion tra anghywir a gorwag am derfysg y Mormoniaid yn y Llyn Halen, a'u hanfoddlonrwydd tuag at y llywodraeth gyfundodol, &c. Mae llawer o'r hyn a grybwyllir yn gyfeiliornus a gormodol, ac yn tueddu yn anmhriodol i daflu sarhad annheilwng ar y gymdeithas dwylledig a cham-arweiniedig, eithr diwyd, cynnil a llwyddiannus hono; canys y mae wedi ei ddangos yn eglur trwy hysbysiaeth ddiweddarach, a thrwy gael clywed dwy ochr y ddadl, fod y barnwyr a'r swyddogion ereill a ddanfonwyd allan gan y llywodraeth yn Washington, wedi ymddwyn mewn dull ffroen-uchel ac anaddas, ac i'w beio yn fwy nâ'r Mormoniaid. Y mae tu hwnt i ddadl fod y Mormoniaid wedi bod yn dra llwyddiannus, ac ar y cyfan yn foddlongar a dedwydd, yn eu sefydliad newydd, a bod eu rhifedi yn cynnyddu yn gyflym."—*Liverpool Journal.*

MAE yr ysgrif i reoleiddio cyflogau Swyddogion Tiriogaethol wedi ei *engrossio* yn Senedd yr Unol Daleithiau y ddoe (Mawrth 23). Mae yr Ysgrif yn diddymu y Weithred i rwystro y swyddogion i godi eu cyflogau pan y byddont ymaith oddiwrth eu gor-

safoedd dros drugain diwrnod; eithr y mae yn gofyn fod yn rhaid i'w habsennoldeb, o hyn allan, gael ei gymmeradwyo gan y Llywydd. Tebygol fod y mesur hwn wedi ei fwriadu er mwyn y boneddwyr hyny y rhai a welsant yn ddoeth, er eu lles personol eu hunain, i adael Utah yn ddisymmwth.—*New York Herald.*

LLYFR MORMON YN YR ITALAEG.—Yr ydym newydd weled cyfrol o Lyfr Mormon yn y iaith uchod, wedi ei gyfieithu a'i gyhoeddi dan arolygiaeth yr Henuriad Lorenzo Snow. Mae yn llawen genym i weled y llyfr hwn yn dyfod allan mewn gwahanol ieithoedd.

J. TAYLOR.—Darfu i'r Henuriad John Taylor a'i gwmpeini gyrhaedd Halifax, Nova Scotia, ar y 17eg o Fawrth, oll yn iach ac mewn ysbrydoedd da.

CONGRESS.—Mae y "New York Herald" yn rhoddi hanes am ddau o aelodau y Congress yn ymladd â'u gilydd yn y tŷ, o herwydd y dywedai un o honynt fod y llall yn dweyd celwydd. Bu yno gryn fwstwr, ond ymddengys i'r ddau ofyn maddeuant, yr hyn a ganiatawyd iddynt.

MAE llythyron wedi cael eu derbyn oddiwrth yr Henuriaid Eliezer Edwards, Henry Evans, ac ereill, yn hysbysu eu bod wedi cyrhaedd New Orleans, ac wedi cael mordaith dra chysurus.

CYMMANFAOEDD Y GOGLEDD.—Cynnelir Cymmanfa Sir Fflint ar y 16eg o Fai; Sir Ddinbych, ar y 23ain; Dyffryn Conwy, ar y 30ain; Sir Fôn, ar y 6fed o Fehefin; a Sir Feirionydd, ar y 13eg.

---

TALIADAU O EBRILL 14 HYD MAI 5.—Sir Fynwy, £4; Sir Frycheiniog, £1 11s; Sir Aberteifi, £1; Sir Benfro, 12s; Morganwg Orllewinol, £6; Sir Fflint, £1; Sir Fon, 12s; Dyffryn Conwy, £1 12s 6c; Sir Ddinbych, £6 0s 7½c; Llanilltyd, £2 6s 8c; Pontytypridd, £2 11s; Llanfabon, £2 7s 7c; Cwmbach, £1 11s; Pendulwyn, £1 8s 6c; Twynyrodyn, £1 17s 3½c; Llandaff, 9s 8c; Gostwng, 3s 9c; Eglwysnewydd, £1 17s 7c; Aberdar, £2 12s 3c; Aberaman, £2; Dowlais, £1 8s 0½c; Hirwaen, £2 4s 9½c; Cwmnedd, £1; Rymni, £3; Georgetown, £1 5s 6c; Merthyr, £4 3s 5½c; Pendaren, 16s; Gwernllwyn, £4 11s; Ffynnon-Tydfil, £2 0s 2c; Troedyrhiw, 6s 3c. — Cyfanswm, £62 8s 7½c.

☞ Os oes gan rywun y rhifynau 2, 7, a 9 o'r "Ath. a Chyf." ar werth, hoffem eu prynu i mewn; hefyd y rhifyn 14 o'r "Udgorn" am 1851. Y mae eisieu hefyd y rhifynau 7, 8, a 28 o Brophwyd y Jubili; a phwy bynag a allo eu hebgor, rhoddwn brisiau llawn am danynt.

☞ Anfoner pob gohebiaethau, eirchion, a thaliadau am lyfrau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 10.] MAI 15, 1852. [CYF. IV.

## COFNODION CYNGHOR CYFFREDINOL NEILLDUOL

*Prif Awdurdodau Cynnadleddau Prydeinig Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.*

[Parhad o dud. 136.]

CANODD y gynnulleidfa y bummed Hymn, "Great is the Lord," &c; ac ar ol hyny, y Llywydd Richards a draddododd yr Anerchiad canlynol:—

Teimlwyf yn ddedwydd i weled nifer mor lliosog o Lywyddion y Cynnadleddau, a phrif awdurdodau yr Eglwys yn y gwledydd hyn, yn bresennol gyda ni, fel y galluoger ni i ddyfod i ddealltwriaeth bendant a chywir o sefyllfa yr Eglwysi. Fy nyben neillduol o alw y cyfarfod hwn yw tynu allan eich meddyliau, ac yr wyf yn addaw y bydd i chwi deimlo, cyn yr ymadewch, fod genych gyfeillion, a bod eich cyfeillion yma yn y cyfarfod hwn. Os bydd rhywrai o'r brodyr yn teimlo i wahaniaethu oddiwrthyf fi, neu os bydd gan rywrai o'm brodyr awgrymiadau ar ryw ochr i'r materion a ddeuant o'n blaen, mae yn rhaid iddynt lefaru allan, canys gallant ei wneuthur yma. Os gallwn gael gwared o'n hanmherffeithderau a bod yn unol yn mhob peth, ni a gawn ein hadnewyddu yn fawr trwy ein hymgynnulliad ynghyd.

Cymmeraf y cyfleusdra yn awr o osod o'ch blaen chwi y materion cyffredinol ag ydynt i gael eu hystyried yn ystod y Cynghor hwn. Y mae dwy neu dair o Gynnadleddau heb Lywyddion, ac mi a ymdrechaf, cyn y terfynwn, i gael gafael yn rhai

o'r dynion goreu yn y deyrnas i lywyddu drostynt. Mae rhai o honoch wedi bod yn gofyn i mi am Henuriaid Teithiol, dyma y cyfleusdra goreu i wneuthur yn hysbys eich meddyliau mewn perthynas i'r pethau hyn; a pha beth bynag a gytunwn ni yn ei gylch, a fydd yn foddhaol yn ngolwg Duw.

Peth pwysig iawn arall a ddaw o'n blaen, yw apwyntiad fy olynydd i Lywyddiaeth yr Eglwysi yn yr ynysoedd hyn, ac yr wyf yn dymuno arnoch, frodyr, i ymarfer eich hawl o hysbysu eich teimladau ynghylch y pwnc tra phwysig hwn.

Yr ydym hefyd eisieu gwybod os oes rhyw nifer o frodyr a allant reoleiddio eu hunain yn gwmpeini er myned i'r Dyffryn, a dechreu gweithio Haiarn.

Rhaid i ni hefyd gymmeryd dan sylw y priodoldeb a'r anghenrheidrwydd o helaethu y "*Star!*" Mae hyn yn bwnc o'r pwys mwyaf i chwi ac i'r Eglwysi Prydeinig. Mae bywyd y Prophwyd Joseph yn dyfod allan yn y "*Deseret News.*" Mae genym gyflawnder o hono yn y swyddfa yn Liverpool, ac y mae yr Henuriad Willard Richards wedi addaw rhoddi i ni ddarnau parhaol ar y testun hwn, ac yr wyf fi o'r farn y bydd yn gymmeradwy iawn gan y Saint yn gyffredinol; ac os na fydd i ni helaethu y *Star*, ni fyddwn yn alluog i'w gyhoeddi. Eithr nid oeddwn yn teimlo i helaethu tudalenau y papur, ond yn lle rhoddi un *llen* yn mhob rhifyn, meddyliwn gyhoeddi llen a hanner; ac am hyny, yr wyf yn enwi y peth yma er eich ystyriaeth chwi, a dyma y lle, frodyr, i chwi ddweyd eich meddwl yn rhydd ynghylch y pwnc hwn, a phob un arall a ddaw o dan eich hystyriaeth: gan hyny, llefarwch yn eofn ar y pwnc hwn pan ddeuwn ato, fel y gallom gael allan pa beth a darawa yr holl Gynnadleddau yn gyffredinol.

Peth arall ydyw hyn, yn ystod ein heisteddiad ymdrechaf gael pob Llywydd a phob Bugail i gynnrychioli sefyllfa ac argoelion eu gwahanol faesydd llafur, nid yn unig gyda golwg ar waith yr Arglwydd, eithr gwaith y diafol hefyd, fel y byddom barod i sefyll yn erbyn pob peth a ddaw i wrthwynebu gwaith Duw. A phan y gelwir arnoch i wneuthur hyn, dymunaf arnoch i fod mor fyr ag y bo posibl, ac etto teimlo y gellwch ei wneuthur yn mawredd a nerth eich galwedigaeth.

Ac i'r dyben i bob busnes perthynol i'r Cynghor hwn gael ei ddwyn yn mlaen yn y dull mwyaf adeiladol, mi a gaf alw ar yr

Henuriad Erastus Snow i daflu mewn ei ddoethineb a'i wybodaeth ef, fel y bendithier ni yn helaethach; hefyd, yr Henuriad Levi Richards, yr hwn sydd wedi bod yn teithio yn eich mysg fel Cynghorwr i'r Llywyddiaeth; a'm brawd Samuel, yr hwn a fu gyda mi yn y swyddfa yn ddiweddar, i gynnorthwyo yn fwy neillduol yn ngwaith y dydd hwn.

Y mae peth arall, frodyr, i gael ei ddwyn ger eich bron, ac er mwyn yr hyn y gelwais chwi ynghyd. Pan oedd y Brawd Joseph yn fyw, arferai ymostwng i'w frodyr, a dywedyd, "A ydych chwi yn teimlo fod fy ffordd i yn iawn, a'm bod i yr hyn a ddylwn fod." Wel, frodyr, yr wyf yn teimlo i glywed eich meddwl, a chael gweled os ydych chwithau yn cael eich boddloni ynof fi, ac yn yr yrfa a gymmerais yn ystod fy Llywyddiaeth yn yr Ynysoedd Prydeinig, canys chwychwi yw y dynion, mewn cyssylltiad â'm Cynghorwyr, i ymbalfalu ar fy ol, i adwaen fy ngyrfa, ac i ddweyd yr hyn a wir deimlwch yn ei chylch. Er nad oedd y brawd Joseph dan un rwymedigaeth i'r bobl, oblegid Duw, ac nid hwynt-hwy, ddarfu ei benodi ef, eithr pan yr oedd ef yn cael eu hymddiried, teimlai fod ei frodyr yn ei gynnal; ac os gallaf fi deimlo hyn, mi a gaf fyned i Seion gan orfoleddu gerbron yr Arglwydd. Ac os bydd rhai o honoch yn gwahaniaethu oddiwrthyf yn eich golygiadau, gwnewch y gwahaniaeth hwnw yn hysbys, a chaiff eich teimladau a'ch golygiadau eu parchu yn fy mynwes i, megys y byddai yr eiddof fi yn eich mynwesau chwithau. Ac yr wyf yn teimlo i weddio ar fod bendithion yr Arglwydd gyda ni tra fyddom yma. Ac os ydych yn dymuno cael *bara* a *gwin* wedi eu dwyn i mewn, a chyd-gyfranogi, chwi a'u cewch, a nyni a lawenychwn ynghyd, ac nid awn ymaith hyd nes y teimlom awydd. Rhoddaf ffordd i'r brodyr i hysbysu eu teimladau ynghylch y pwnc.

Dywedodd Erastus Snow—Ni amddifadaf Lywyddion y Cynnadleddau o'u rhagorfraint i gynnal y Llywydd Richards, oblegid y maent yn adwaen ei yrfa, a dymunant hysbysu eu teimladau o berthynas iddo; eithr y mae yn bleser, ac yn cynnyrchu teimladau o foddlonrwydd mawr i fod gydag ef, ac i glywed ei gynghorion a'i gyfarwyddiadau. Nid oes un dyn yn yr ystafell, ag sydd yn diystyru gwag-ganmoliaeth yn fwy nâ'm hunan; ond er mai y Llywydd Richards yw yr aelod ieuengaf o gorwm y Deuddeg, etto, o'r dechreuad, yr wyf fi wedi derbyn llawer o

bleser a chysur oddiwrth ei gynghor, a llawer o les oddiwrtho yntau. Mi a deimlais, tra yn Denmark, fesur o nerth a chymhorth dan yr ystyriaeth fod y brawd Richards yn sefyll mor agos ataf. Ai ewyllys y Cynghor hwn fuasai amlygu eu teimladau o berthynas i'w ddull a'i ffyrdd ef (nid wyf yn meddwl y byddai yn ddymunol gan y brawd Richards), mewn cynnygiad ag a gyflwynai deimladau gwirfoddol eich calonau? Ac os nad ydych yn barod yn awr, chwi a fyddwch cyn yr ymadewch, i'w osod yn y dull a ddewisoch oreu.

Yr Henuriad Jacob Gates a gyfododd ac a ddywedodd,—Mae fy nghalon wedi ei gwneyd i orfoleddu yn y ffordd a gymmerwyd gan y Llywydd Richards. Mae pob symudiad, mor bell ag y gallaf gofio, wedi bod yn ddymunol gan fy enaid. Yr wyf yn ei adwaen ef er ys peth amser, ac y mae ei yrfa erioed wedi bod yr un fath. Cefais y fraint o gymdeithasu ag ef rai blynyddoedd yn ol, ar genadiaeth i Dalaeth Indiana, ac mi a welais y pryd hwnw ei fod ef tuag i fyny; ac er ei fod wedi fy maeddu i, etto yr wyf yn gorfoleddu fy mod yn agos wrth ei ochr; a theimlwyf fod yr hyn ag oedd yn ddiffygiol ynddo, yn cael ei wneyd i fyny gan Ysbryd y Dadguddiad. * * * Teimlwyf y dylai rhyw frodyr gael eu penodi i wneyd cofen er ei hanrhegu i'r Llywydd F. D. Richards, fel arwydd o'n parch a'n meddwl mawr am dano. Erfyniaf y bydd Ysbryd y Dadguddiad yn gorphwys ar y sawl a wnelo y gofen. Amen.

Dywedodd yr Henuriad Cyrus H. Wheelock,—Yr wyf yn cael pleser, a theimlwyf ddiolchgarwch am y fraint o lefaru drosof fy hun, a'r Cynnadleddau dros ba rai yr wyf yn cael yr anrhydedd o lywyddu. Gan fod y Llywydd Richards yn dymuno gwybod eu meddyliau, credwyf na fu dyn yn Lloegr ag a gafodd fwy o deimladau y bobl, nâ Franklin D. Richards. Yr wyf yn cofio croesi y môr gydag ef yn yr amser sydd wedi myned heibio, ac er nad oedd genyf un dychymmyg am ei fod ef yn y sefyllfa hon, etto mi a welais ei ffyddlondeb, a thra y meddyliai ef nad oedd un llygad yn gweled ond llygad Duw. Ac er pan y neillduwyd ef i gorwm y Deuddeg, yr wyf fi wedi llwyddo trwy ymlynu wrth ei gynghorion a'i gyfarwyddiadau; ac felly y mae gyda y Cynnadleddau ar ba rai yr wyf yn llywyddu; ac y mae yn foddlonrwydd i mi, ac iddo yntau, na chlywais i erioed wr, na gwraig, na phlentyn, yn offrymu gweddi heb ei enwi ef. Yr wyf wedi

clywed llawer yn llefaru am dano mewn gwahanol leoedd, yn gyhoeddus a dirgelaidd, ac y maent oll yn arwyddo eu tristwch oblegid ei fynegiad ymaith. Y mae efe yn ddyn ag a gefais yn ddwfn a goleu mewn cynghor, llym mewn cerydd, pan fuasai angheu, ac y mae wedi bod er fy lles. Yr wyf yn gweddio ar i fendithion dewisol y nef orphwys arno yn enw Iesu Grist. Amen.

Dywedodd yr Henuriad John Hyde, ieu,—Os caniatewch i un mor ieuanc â mi wneuthur ychydig o sylwadau, mi a lefaraf ychydig o eiriau mewn perthynas i'r pwnc hwn. Yr wyf yn cofio am yr Henuriad Banks yn llefaru am brophwydoliaethau yr Henuriaid F. D. a Samuel W. Richards, a lefarwyd rai blynyddau yn ol yn y ddinas hon, gyda golwg ar lwyddiant dyfodol gwaith yr Arglwydd yn Nghynnadledd Llundain; ac yr wyf wedi gweled cyflawniad y prophwydoliaethau hyny. Yr wyf wedi caru yr Henuriad Pratt, a pham wedi darllen ei draethodau, yr wyf wedi teimlo iddo ddysgu egwyddorion dwfn, eithr gogoneddus gwirionedd. Ac yr wyf wedi caru F. D. Richards; yr wyf yn teimlo, frodyr, iddo ef ddysgu i ni yn ymarferol egwyddorion bywyd ac iachawdwriaeth, a'm teimladau i ydynt yn gyffelyb i'r rhai a amlygwyd eisoes gan fy mrodyr, sef—fod yr Arglwydd wedi ein bendithio ni yn fawr trwy offerynoldeb yr Henuriad Richards.

Dywedodd yr Henuriad James Marsden,—Frodyr, yr wyf yn teimlo yn awyddus i hysbysu fy meddwl ar y pwnc hwn. Yr wyf fi yn adnabyddus â helynt yr Henuriad Richards er pan ddaeth gyntaf i'r wlad. Yr wyf wedi llafurio am flynyddau yn Nghynnadledd Liverpool, ac yn Nghynnadledd Bradford; yr wyf wedi llafurio hefyd yn Scotland; ac yn awr, yr wyf wedi teithio trwy Gynnadledd Llundain, ac y mae yn bleser genyf i ddywedyd na chlywais erioed neb yn dywedyd gair yn erbyn ein hanwyl Lywydd, i mewn nac allan o'r Eglwys. O'm rhan fy hun, hoffwn i gael cofen gyfaddas, wedi ei hysgrifenu ar femrwm, neu rywbeth o natur destlus a pharhaus.

Mabwysiadodd amryw ereill yr un geiriau, ond yn unig dywedent nad allai geiriau ddangos y parch mawr ag oedd ganddynt tuag y Llywydd Richards; yn fyr, dyma oedd teimladau gwirfoddol pob calon.

Ar gynnygiad yr Henuriad Gates, penderfynwyd yn unfrydol—

"1. Fod y Cynghor hwn yn dangos eu cymmeradwyaeth unfrydol o fuchedd ac ymddygiad yr Henuriad F. D. Richards, yn

ystod ei Lywyddiaeth ar Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn yr Ynysoedd Prydeinig, ac fel Golygydd y *Millennial Star*.

"2. Fod yr Henuriaid Marsden, Lyon, a Hyde i gyfansoddi Cyfeisteddfod, i'r dyben o ysgrifenu Cofen, yn gosod allan y gymmeradwyaeth uchod.

"3. Fod yr Henuriad John Lyon i gyfansoddi darnyn o Brydyddiaeth, i'w osod ar gofen y Llywydd Richards."

Cyfododd y Llywydd F. D. Richards ac a wnaeth y sylwadau canlynol:—Anwyl frodyr, nid oes dim ar y ddaear a allai greu yn fy mynwes deimladau mwy bywiog o ddiolchgarwch i Dduw, na chlywed yr hyn a draethodd fy mrodyr. Yr wyf yn teimlo pan glywaf fy mrodyr yn cymmeradwyo fy null o weithredu, ei fod yn gymmeradwy gan Dduw, ac yr wyf finnau yn teimlo i'w gymmeradwyo hefyd. Y mae yn naturiol i mi, frodyr, gilio rhag bywyd cyhoeddus, ac yr wyf efallai wedi niweidio fy hun trwy roddi ffordd i'm tueddiad naturiol i ymneillduo; canys bob amser pan yr wyf yn llefaru neu ysgrifenu, teimlwyf fy mod yn llefaru wrth rai ag ydynt wedi eu hysbrydoli gan yr Ysbryd Glân. Mae yn dda genyf i gael allan fod yr hyn a wnaethym yn gymmeradwy yn eich golwg. Gallaf yn awr fyned adref at y Llywyddiaeth gyda'r boddlonrwydd hwn, fod gweddiau fy mrodyr yn y wlad hon droswyf; a'r Llywyddiaeth, os na ddywedant, a feddyliant, "Da was, da a ffyddlawn, eistedd i lawr a gorphwys ychydig, ac ymgynghora gyda'th frodyr." Caf bryd hyny fwynhau tymmor byr yn awyr iachus mynyddoedd Seion, gyda'm teulu a'm cyfeillion; eithr nid wyf yn dysgwyl bod yno yn hir; a'r Henuriad hwnw a feddylio am orphwys a gynhyrfir i fyny, canys yr Arglwydd a ddwg amgylchiadau i gyd-gwrdd ag a'i cyffroa i fyny; canys y mae genym waith mawr a rhyfedd i'w gyflawni yn y genedlaeth hon, ac nid oes amser i fod yn ddioglyd.

Os oes unrhyw ddaioni wedi deillio i'r Eglwysi yn yr ynysoedd hyn, trwy ysbrydoliad yr Ysbryd Glân y daeth. Nid ydyw oll i'w briodoli i mi; y mae yr Henuriaid Wallace a Levi Richards wedi bod gyda mi yn y gwaith, a nyni a fuom yn un, er yn wasgaredig. Ar ol clywed eich geiriau o gymmeradwyaeth a llwyr foddlonrwydd, teimlwyf yn awr, yn fwy nag oll, y gallaf dreulio ac ymdreulio dros yr Efengyl hon.

Dywedasoch fod eich pobl yn caru fy nysgeidiaeth a'm Lly-

wyddiaeth. Wel, hyn, frodyr, yw eich awdurdod a'ch braint chwi yn yr Offeiriadaeth santaidd. A chwi a gewch allan yn barhaus fod y teimlad a fwynheir genych chwi, yn cael ei fwynhau hefyd gan y Saint. Y mae genyf yr hyder hwn trwy yr ateb gwresog a roddwyd i'r galwad a wnaed ar ran y Deml, a phethau ereill ag a osodais ar y Cynnadleddau. Yna gadewch i mi osod gofyniad sylweddol o'ch blaen chwi oll: O ba le yr ydych chwi yn cael eich anrhydedd? Oddiwrth y rhai y llywyddwch arnynt. Yr wyf fi yn cael yr eiddof fi oddiwrthych chwi, y rhai y llywyddaf arnoch; a'r hyn sydd arnaf eisieu yw, eich bod chwi yn cael eich galluogi i wneuthur eich dyledswyddau, a bod yn deilwng i dderbyn anrhydedd a bendithion oddiwrth eich brodyr, ac allweddau a galluoedd a'r bendithion o ddyrchafiad a bywyd tragywyddol yn mhresennoldeb Duw; ac fel y byddwyf yn fwy effeithiol i lywyddu a llywodraethu mewn amser dyfodol. Mae y Saint yn eich caru chwi, oblegid i chwi eu caru hwy, ac i'r graddau y byddoch chwi yn eu caru hwy, y carant hwythau chwi. Felly, eich uniondeb a'ch purdeb gwastadol chwi ger eu bron, a achosa iddynt eich caru chwi megys hwy eu hunain, a bydd yn foddion i'ch cyssylltu chwi yn eich gilydd mor gadarn, fel nas gall dim eich niweidio, eithr chwi a fyddwch megys rhaff dairpleth yr hon nis gellir ei thori.

Mae hon yn egwyddor nad yw y byd wedi ei chael allan. Pe buasai yr egwyddor hon yn eu mysg, ni fuasai achos iddynt gadw byddin sefydlog er cadw heddwch. Pan weloch ddynion yn rhoddi cyfreithiau er brawychu a digaloni, nid yw hyny yn cael ei wneyd gan yr Ysbryd na chan allu Duw. Gan hyny, frodyr, ceisiwch lywodraethu mewn cariad, ac yna y Saint a'ch carant. Ceisiwch fod yn dda, oblegid gellwch ddyfod yn fawrion etto, ac i sefyll mewn lleoedd uchel; ac yna os na fyddwch yn dda, yr ydych yn sicr o syrthio. Mae yn rhaid i bob dyn sydd am ddyfod yn fawr yn yr Eglwys hon, i osod sylfaen gadarn, a mynu pob rhan wedi eu cyd-gyssylltu; ac os bydd genych sylfaen dda, bydd i'r gweddill o'r adeilad eistedd yn ddiysgog arni, a bydd pob argoel iddo sefyll; ac er y cura yr ystormydd yn enbyd arno, bydd pob peth yn iawn.

Yr wyf yn ymddyddan â dynion ag ydynt yn dysgu adeiladu teyrnasoedd; eithr y mae yn rhaid i chwi ddysgu ei wneyd mewn dull doeth a phriodol, canys os byddwch yn ymwneyd

a chymmerwd nad ydych yn deall yn ei gylch, cewch allan yr agena yn y mur, a'ch adeilad a rydd ffordd, a'ch argoelion a ddarfyddant. Na cheisiwch byth i fod yn fawr, eithr i fod yn dda! Ni ymdrechais i erioed fod yn fawr, eithr mi a alwais laweroedd o weithiau ar yr Arglwydd, pan yn unig, am iddo fy nghynnal yn fy ngwendid. Mae eich gweddiau chwithau wedi fy nal i fyny—eich ffydd a'ch gweddiau gerbron yr Arglwydd a fuont o gymhorth mawr i mi. Yr wyf yn teimlo cael parhau i'm dal i fyny genych chwi, ac os bydd i chwi barhau dal gafael, yna os cyrhaeddaf fi i fyny, myfi a'ch tynaf chwithau fyny hefyd. Dyma yr egwyddor ar ba un y cawn ein hachub oll, os byth y cawn ein hachub, sef trwy *ddal gafael yn y naill y llall*: y lleiaf i gael ei godi i fyny gan y mwyaf.

Ni feddyliais boreu heddyw, pan y ceisiais genych hysbysu eich teimladau, y buasai chwi yn gwneuthur cofen, ac nid oeddwn yn dymuno un; eithr gan i chwi deimlo gweithredu fel y gwnaethoch, rhaid ei fod yn iawn. Yr Arglwydd a'ch bendithio oll. Felly y byddo. Amen.

Yna y Cynghor a ollyngwyd am un awr gan yr Henuriad Erastus Snow.

(*Yw barhau.*)

---

## NEWYDDION O DDYFFRYN Y LLYN HALEN FAWR.

[Allan o'r "Millennial Star," am Mai 22, 1852.]

Yr ydym wedi derbyn copiau o'r *Deseret News*, hyd at yr 21ain o Chwefror, ynghyd â llythyron, ac yr ydym yn gorfoleddu wrth glywed fod Saint Duw yn nyffrynoedd hyfrydol y mynyddau yn llwyddo yn mhob ffordd. Mae pob math o fusnes anrhydeddus, mor bell ag y carir hwynt yn mlaen yno, yn dra bywiog. Yr oedd *explorations*, sefydliadau, adeiladau, ac amrywiol fath o anturiaethau, y rhai a elwid am danynt gan anghenrheidiau Tiriogaeth ieuanc a blodeuog Utah, yn meddiannu sylw prysur a bywiog y Saint. Yr oedd gwneuthuriad nwyddau gartrefol o bob math yn derbyn ystyriaeth tra boddhaus; rhai dosparthiadau yn cael eu cario yn mlaen gyda chryn lwyddiant, tra yr oedd mesurau egniol mewn gweithrediad neu mewn golwg mewn dosparthiadau ereill. Yr oedd y brodyr yn Swydd Haiarn, ac hefyd

yn Nyffryn Pauvan, wedi llwyddo i weithio hoelion (*cut nails*). Ynghylch hyn sylwa y *Deseret News*,—" Dywedir wrthym ni fod deugain o'r hoelion hyn yn awr yn cael eu gwneuthur mewn mynyd, yr hyn sydd yn ol 2,400 yn yr awr, neu 24,000 y dydd, yn ol deg awr. Pa ddyben yw dwyn hoelion o wledydd tramor, os gallwn eu gwneuthur mor gyflym gartref? A chaniatâu trugain hoel yn y pwys, gall y weithfa fechan yn Swydd Haiarn yn awr wneuthur 466 o bwysi bob dydd, neu ddeg awr; hyn wedi ei liosogi gan 300 o ddyddiau mewn blwyddyn, gan adael digon gyferbyn â Suliau a gwyliau, a bydd genym 139,800 o bwysi, neu 1398 barilaid o hoelion, o gant pwys yr un, bob blwyddyn."

Yr oedd triagl, lledr, cyllyll, a llestri pridd yn cael eu gwneuthur hefyd gan y brodyr. Yr oedd melin lifio yn cael ei chodi yn Ninas Fillmore. Yn y chwil-deithiau darganfyddid un dyffryn ffrwythlawn ar ol y llall, a choed cotwm, a phinwydd cochion a gwynion mewn cyflawnder.

Yr oedd busnes y degwm yn dra bywiog: yr oedd 14,000 o fwsheli o ŷd, fel degwm mewn llaw; nid oedd yr ystordy cyffredinol yn ddigon mawr, a phenderfynwyd i ychwanegu ato ddeugain troedfedd, ac hefyd i adeiladu ystordai ereill yn y sefydliadau.

Yr oedd dysgeidiaeth hefyd yn tynu sylw y Saint, mewn adeiladu ysgolion a dysgu yr ieuainc, ac mewn traddoddi darlithiau i'r rhai oedranus. Yr oedd pedair darlith, allan o ddeuddeg, ar Seryddiaeth, &c., wedi eu traddodi gan y Proffeswr Orson Pratt, ac yr oedd llawer yn gwrandaw. Yr oedd y Proffeswr G. D. Watt hefyd yn dysgu ac yn darlithio ar Phonography.

Cafodd y brodyr sydd wrth y gweithiau cyhoeddus, ynghyd â'u teuluoedd, fwynhau dau ddiwrnod o wledd a llawenydd ar y 25ain a'r 26ain o Ragfyr diweddaf.

Yr oedd y gauaf wedi bod yn dra mwynaidd a dymunol, ac iechyd y Saint yn neillduol o dda.

Mae yr Arglwydd yn ddiau yn ffafrio Seion, ac y mae ei bobl Ef yn ymdrechu ei wasanaethu, a sefydlu ei deyrnas a'i lywodraeth ar wyneb y ddaear, yn lle teyrnasoedd a llywodraethau dynion. Mae dyffrynoedd Ephraim yn adseinio â sŵn diwydrwydd, a'r caniadau llawen o fawl a diolchgarwch y rhai a offrymir i fyny yn ddyddiol gerbron Tad mawr y trugareddau, gan bobl erlidiedig a chystuddiedig unwaith, eithr yn awr yn bobl waredigol (yn dymmorol) a dyrchafedig, yn llanw eangder y nef-

oedd, ac yn gwneuthur hyd y nod i awyr y dirgel guddfanau hyny o eiddo Israel, yn santaidd i'r Arglwydd. O chwi Saint, tlawd a gorthrymedig, a chwithau gyfoethogion hefyd, yn y wlad hon, ai nid yw eich mynwesau yn llosgi gydag ysbryd da Duw, yr hwn sydd yn llanw ei Saint bob amser â dymuniad i ymgasglu ynghyd, a dyfod yn bobl santaidd a neillduedig? Ai nid ydych yn hiraethu i ymgasglu at eich brodyr a'ch chwiorydd yn uchelfeydd Seion, lle nis gall pechaduriaid drigo? Ai nid ydych yn dymuno ymgynnull gyda Henuriaid Israel yn ngorphwysfanau cyssegredig rhai rhagorol y ddaear, ac yno etifeddu y ddaear, a mwynhau daionus fendithion Creawdwr haelionus? Os ydych, gwrandewch ar lais yr Ysbryd—gair yr Arglwydd o Seion:—

"Ni fu modd erioed yn eisieu yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, i gwblhau unrhyw beth a ewyllysiai Duw, pe buasai y Saint wedi bod, un ac oll, yn barod i wneuthur y peth a ofynid ar eu dwylaw. A ydych chwi yn credu hyn? Nid yw wahaniaeth genym ni pa un a ydych ai peidio; ni a wnaethom ein dyledswydd wrth ddywedyd wrthych y gwirionedd.

"Pe byddai y 50,000 Saint yn awr yn Lloegr, yn teimlo megys y teimlwn ni, nid oes achos fod un o honynt yn absennol oddiwrthym, flwyddyn ar ol y dyddiad hwn. Nac oes! Y mae arian a modd digonol yn yr Eglwys i gyflawni yr hyn oll ag y mae Duw yn ofyn gan ei bobl. A pha beth y mae yn ei ofyn? Ymgasglu o honynt, mor fuan ag y clywont y gorchymyn. Ond pa beth y mae'r rhai sydd ag arian ganddynt yn ei gylch? Y maent yn meddwl pa fodd y cânt eu cadw; ac y mae'r Henuriaid ag sydd a gofal y praidd arnynt, ag ofn i ddweyd wrthynt eu dyledswydd, ac yn methu taranu gair yr Hollalluog wrthynt, i gyfodi a dyfod i Seion, rhag i rai o'r cyfoethogion wrthgilio; eithr pe meddylient ddwywaith, hwy a wybyddent, ynghylch y rhai yr ofnent iddynt wrthgilio, mai dyna y peth goreu a allent wneuthur; a goreu i gyd po gyntaf; yn gyffelyb braidd i Arthur Burroughs, o Preston, a llawer yn ychwaneg ag a allem enwi; arian a gwragedd pa rai yw eu duwiau, ac nis gallant gael eu hachub; a pha gyntaf y byddont allan o'r Eglwys, goreu oll; rhyddha y personau o'u rhagrith, a'r Eglwys o lwyth ag yw nemawr galluog i'w gario.

"Eithr bydded i bob *Sant* yn *Lloegr*, uno eu moddion, dan gyfarwyddyd eu Llywyddiaeth, ac ni fydd achos fod un enaid yn

absennol oddiwrthym un flwyddyn; gan hyny, mae y cyfrifoldeb o ymgasglu yn gorphwys i raddau mawr ar y cyfoethogion; ac o herwydd na wrandawant ar gynghor, hwy a ddyfethir, a hyny yn ddi-feddyginiaeth. Ac felly hefyd y bydd ar y Saint ag ydynt wedi ymgasglu, ac yn Deseret; os na agorant eu pyrsau i gynorthwyo y gwneuthurwr, y cynnyrchwr, a'r crefftwr, i ddwyn allan y pethau sydd eu heisieu, eu hanghen, ac sydd raid eu cael ar fyrder, er iachawdwriaeth y bobl hyn, hwy a ânt i lawr i'r pwll, ac nis gall un gallu ar y ddaear eu rhwystro. Hwy a allant gadw eu harian a'u heiddo, eithr hwy a droant yn wyfyn, a rhwd, ag a ysant eu bywolion; a hwy a alwant am gymhorth, megys William a Wilson Law, pan fyddo yn rhy ddiweddar. Eu Prophwyd a fydd yn y pwll y taflasant ef iddo, ac nis gall eu cyrhaedd hwynt.

"Paham? Oblegid iddynt esgeuluso lleferydd yr Ysbryd, a diystyru llais rhybydd gweision y Goruchaf. Yn fwriadol? Nage; eithr trwy ddiofalwch, difaterwch, ac anmheuaeth pa un a yw y pethau hyn felly. Hyn fu dinystr y Saint yn mhob oes, yn mhob goruchwyliaeth; eithr yr ydym yn dywedyd wrth yr holl Esgobion, a'r holl Henuriaid, a'r holl swyddogion llywyddol, a phawb ag ydynt yn meddu yr Offeiriadaeth santaidd—Dyrchafwch y llais rhybydd; gwaeddwch yn uchel, ac nac arbedwch; os nad â y Saint i weithio a chynnorthwyo eu hunain, *ni wna Duw eu cynnorthwyo hwynt*, a rhaid iddynt gymmeryd eu siawns, pa un ai newynu, neu fyned yn oer neu noeth; eithr y cyfryw ag a gynnorthwyant eu hunain ac ereill, â'r hyn a allant ei gael, a gynnorthwya Duw; a hwy a lwyddant, nid yw wahaniaeth pa beth yw eu galwedigaeth, os bydd yn ddefnyddiol i adeiladu teyrnas Dduw ac hwylusu iachawdwriaeth ei bobl."

---

## AT Y LLYWYDDION A'R DOSPARTHWYR.

Dymunwn hysbysu ein brodyr y Llywyddion mai arnynt hwy yr ydym ni yn ymddibynu fwyaf ar gario yn mlaen waith Duw yn ein plith fel cenedl. Gyda hwy y mae'r gallu i gynnorthwyo yr argraffwasg i ddwyn allan air argraffedig Duw, ac i gyflawni y gwaith mwyaf neillduol yn yr eglwysi; ac nid ydynt etto wedi amgyffred y gallu mawr sydd yn eu meddiant dros y Saint. Hwynt-hwy yw y penau ar y gwahanol eglwysi; ac fel yr

ewyllysiant hwy y cymmer llawer o bethau le. Yr ydym wedi gweled er ys amser bellach nas gall Cangenau a Chynnadleddau wneuthur ond ychydig, os na fydd y Llywyddion yn penderfynu gwneuthur llawer. Gyda y Llywyddion y mae agoriadau calon a phwrs pob Sant; os bydd ef yn haelfrydig a ffyddiog, felly y bydd ei bobl.

Yn awr, yr ydym am alw sylw pob Llywydd at yr "Anerchiad at y Saint," gan Lywyddiaeth yr Eglwys Gymreig, yn nhud. 267 o'r ail gyfrol o'r UDGORN. Mae yn ddrwg genym i'r Anerchiad hwnw gael ei droi heibio mor ddisylw, canys gwyddom y cynnwysa hyfforddiadau anmhrisiadwy. Darllenwch hwn, frodyr, a myfyriwch ef; darllenwch ef yn nghlyw eich Saint, a mynwch weled yr egwyddorion gwerthfawr a gynnwysa, yn cael eu gosod mewn gweithrediad; fel y gellir dywedyd etto am danoch, mewn cyssylltiad â phob peth, "Da weision, da a ffyddlon."

Yr hen ffordd o gael gwybod pa faint a dderbyniai y Saint o wahanol lyfrau oedd, danfon y Dosparthwyr oddiamgylch i ymofyn eu henwau. Gallasid fod wedi arbed y trafferth hyny, pe gofynasem i fugail pob Cynnadledd neu Gangen; canys yn ol ei ffydd ef y mae'r Saint yn gweithredu. Pan fyddo rhai o'r apostolion yn gofyn i'r Llywydd Phillips pa faint a gymmerir o wahanol lyfrau Seisnig, y mae efe bob amser yn gallu eu hateb trwy ei ffydd. Felly, dysgwyliwn i bob Llywydd o dan ei lywyddiaeth ef, ei efelychu yn hyn a phob peth arall. Trwy y dull yma y cawsom wybod pa faint a dderbynir o'r "PERL O UCHEL BRIS;" ac ni a gawsom lawer mwy o enwau felly, nag a gawsem yn ol yr hen drefn. Mae arnom eisieu gwybod etto trwy yr un ffordd pa faint a dderbynir o'r DARLITHOEDD AR WYRTHIAU. Mae y Gynnadledd hon wedi gorchymyn am lawer dros 1200 o bob rhifyn: mae llywyddion cangenau bychain wedi gorchymyn am 100 o bob rhifyn, ac yn penderfynu eu gwerthu yn ol cyfarwyddid yr "Anerchiad at y Saint," a gyfeiriasom ato uchod, a hyny ar ddiwedd un cyfarfod, a chael tal am y cyfan. Mae eisieu gwybod arnom o'r Cynnadleddau ereill yn ddioed y nifer gofynol, gan na feddyliwn argraffu gormodedd. Digon tebyg y daw y Rhifyn cyntaf allan gyda'r UDGORN nesaf. Y ffordd i'w gwerthu i'r Saint, yw i'r Llywydd sefyll i fyny ar ddiwedd y cyfarfod, a gofyn am i bob rhai sydd yn penderfynu gwneuthur yn ol yr Anerchiad, ddyfod yn mlaen, a phrynu

copiau iddynt eu hunain ac hefyd i'r byd, a'u gwerthu drachefn i'r byd mewn llawn ffydd. Gellir gwneyd felly gyda llyfrau o bob math, sef llyfrau hymnau, &c. Mae yn ddiau y gwerthid llawer o'r rhai hyn i'r byd, yn gystal â phob llyfr arall. Cofier fod pob llyfrau a werthir, yn lles i bawb, ac yn neillduol i'r Eglwys yn Seion.

Dealled y Dosparthwyr y byddwn yn danfon biliau gyda phob sypyn o hyn allan, oddieithr y gwneir eithriadau gogyfer â'r rhai a dderbyniant lyfrau trwy y post; a phob chwarter byddwn yn gyru bil am y gweddill dyled. Bydd i ni argraffu papyrau yn cynnwys prisiau y llyfrau, mor fuan ag y gallwn. Cofier y bydd yn ofynol i *orders* am lyfrau fod yma boreu dydd Gwener, cyn cyhoeddiad yr Udgorn, onide nis gellir eu cael hyd y tro ar ol hyny, oddieithr fod galwad am gyflawnder o lyfrau, pan y gellir eu cael bob amser. Cofied y Dosparthwyr am y rheol hon, canys arbeda lawer o gam-ddealltwriaeth.

---

## MARWOLAETH Y MUDWR.

(CYFIEITHAD.)

" Alas! hope is not prophecy. We dream,
But rarely does the glad fulfilment come—
We leave our land, and we return no more."
L. E. L.

Yn nhywyll wigoedd y gorllewin pell
I'r alltud cloddiwyd bedd. Uwchben y fan
Ni roddwyd maen i ddofi gwylldra'r ddrych—
Yn ymyl cornant fwyn cyssegrwyd maes
Ei feddrod cul, a'r pinwydd uchel-frig,
Gan ledu eu cangenau amryw ddull,
Gysgodent rhagddo danbaid lewyrch haul.
Dihoeni ydoedd er y cyntaf ddydd
O'i drem hiraethlawn y diflanai'i fro
Gynhenid; hefyd, pan yn unig mewn
Neillduedd natur oedd, ei wybiog fryd
A grwydrai at olygon boreu'i oes,—
Ei gartref gynt, a'i ffryndiau'n mebyd llon,
A'r bryniau a'r dyffrynoedd gwyrdd, lle bu
'N difyru'n llanc: ond yna daliai'i drem
Yr olwg oedd o'i flaen, a'i galon wan,
Yn fferllyd gan y diledrithedd hyn,
A fethai'n llwyr. Ac odd'wrth pawb i ffwrdd
Y troai ef i wylo; O! am hyn

Na feiwch ef. Y mae o fewn y fron
Ymlypiad dibaid wrth y dyddiau gynt,
Pan trallod ddaw i'n cwrdd, ac idd ein bryd
Y cyfyd heirdd ledrithiau am a fu,
Fel pe er gwatwar 'r hyn sy'n bod yn awr.
Efelly'r ydoedd gyda'r mudwr tlawd;
Ac er i'w wraig glustogi ar ei bron
Ei ben blinderus, ac er sychu'r gwlith
Oddiar ei boenus ael, ni allai hi
Ei nerthoedd fywiocâu. Bu farw ef;
Ac ei gyfeillion—dewr a grymus lu—
A safent wrth ei fedd, mewn pryder dwys,
A chanent ei angladdol alar gerdd :—

Ow! palla cariad dae'r yn glau;
Nid yw'n parhau ond 'chydig;
Ein cyd-ddigrifwr lawer gwaith,
O'r diwedd aeth—yn unig;
Efe—'rhwn oedd ein cyfaill cu,
'Nawr yma sy'n hunedig!

Gwyliasom ei afiechyd hir—
Yn faith, yn wir, dyoddefai;
A dydd ar ol y llall o hyd
Ei ysbryd cryf ddarfyddai—
Fel deilen Hydref gwywo oedd
O dan yr ingoedd deimlai!

Y dewr a'r ffyddlawn marw wna
Yn dawel ac yn hyfryd!
Efe'n ein breichiau tynu wnaeth
Anadliad olaf bywyd;
Ond etto nid oes sain un gloch,
Yn rhoi un och o'i blegid.

O na! ond caiff pob coeden werdd
Brudd ganu 'i gerdd angladdol—
A'i siawl gân a rydd y gwynt
Pan ar ei hynt goedwigol;
A cherllaw'r fan, sawl garai o
Fydd yno yn arosol!

Yn dawel tawel yn ei fedd
Y mae yn gorwedd heddyw,
A thros ei ddwyfron gu bob dydd
Y chwifia pinwydd harddwiw—
Ei enaid, wedi cael rhyddhad,
Fo gyda'i Dad yn cydfyw!

*Caerfyrddin, Medi* 25, 1847. J. D.

## PENNILLION.

CYMDEITHAS hoffus hyfryd yw bod yn mhlith y Saint,
Ni ddichon byd mo'i hadwaen, na meddu'r cyfryw fraint:
Am hyny byddwn lawen, heb ofni gwg na gwawd,
Can's galwyd ni i ryddid, o ofid Babel dlawd.

Cyfodwch chwi eich penau, yw cynghor Iesu cu;
Ni fyddwch drist ond siriol, yn ngwyneb uffern ddu;
Gorchfygodd ef y gelyn, ynghyd a'i arfog lu,
Gorchfygwn ninnau hefyd trwy arfau'r nefoedd fry.

Am hyny gwisgwn arfau y pen Rhyfelwr mawr,
Sef gwir santeiddrwydd bywyd, tra byddwn ar y llawr;
A chariwn gleddyf miniog, sef gair y bywyd pur,
Yr hwn a lwyr orchfyga bob gelyn cyn bo hir.

JOHN PARRY, IEU.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y FFORDD i ddarllen mewn ager-beiriant, yw dal carden neu ddernyn o bapyr o hyd o dan y llinell a fyddoch yn ddarllen; trwy hyny rhyddheir y llygad oddiwrth yr aflonyddwch a achosir gan symudiad y cerbydau, a gellir darllen gyda phleser.

GALL dynion tew nofio yn rhwyddach nâ rhai tenau, o herwydd fod eu brasder yn ysgafnach nâ'r dwfr, tra mae esgyrn y tenau yn drymach.

MAE ysbryd tlawd yn dlotach nâ phwrs tlawd.

DARLITHOEDD AR WYRTHIAU.—Bwriadwn gyhoeddi o bedwar i chwech o Ddarlithoedd ar Wyrthiau, pris ceiniog yr un, neu 6s. y cant i'r cynnadleddau, a 7s. y cant i'r cangenau. Byddant yn cynnwys Adolygiad ar Ddarlithoedd J. Jones, Llangollen, ar yr un pwnc. Eu maint fydd 12 tud. yr un, yr un plyg â'r "Udgorn." Darllenwch etto yn nhud. 59 o'r rhifyn hwn, a chewch yno wybod ychwaneg.

YR hwn a gaiff wr da i'w ferch, sydd yn ennill mab; ond yr hwn a gaiff un drwg, sydd yn colli merch.

YR hyn oll a ennilla dyn trwy gelwydd a thwyll, yw peidio cael ei gredu pan fyddo yn dweyd y gwir.

### CWYN Y DIOG.

Achwyn wyf, ac ochain hefyd,—gwae fi!
Na chawn fwy o hawddfyd;
Gweithio wyf—'run gwaith o hyd,
Nes gwario'm holl seguryd.

Gan ein bod yn gweled dynion yn fwy dedwydd pan na fyddo ganddynt ddim i golli, nâ'r rhai sydd yn colli yr hyn sydd ganddynt, ni ddylem drachwantu am gyfoeth, nac ofni tlodi.

Cadwch yn ofalus eich gair da; os bydd i chwi ei golli unwaith, byddwch fel dernyn o ysgrifen ddilëedig, yn hollol ddiwerth.

Gwell yw cynnysgaeth mewn gwraig, na chyda gwraig.

---

Taliadau o Mai 5 hyd Mai 12.—Sir Gaerfyrddin, £20; Sir Gaernarfon, £1 15s; Caerdyf, £3 1s; Rymni, 14s; Georgetown, £1 4s 8c; Ffynnon-Tydfil, 5s 5½c; T. Pugh, 6s.—Cyfanswm, £27 6s 1½c.

☞ Mae arnom ni eisieu ychydig nifer o'r rhifynau 25 a 26 o Lyfr Mormon; ac os oes rhywrai o'n brodyr ag eisieu rhai o'r rhifynau ereill, gellir eu cael trwy ddanfon neu alw yma. Gallwn ddiwallu llawer o'r rhifynau 1 a 2.—Cofier pan fyddwn ni yn galw am ryw rifynau i mewn, mai nid un copi a feddyliwn, ond cymmaint a allwn gael. Mae arnom etto eisieu y rhifynau 7 a 9 o'r "Ath. a Chyf.," a'r rhifyn 14 o'r Udgorn am 1851, heb eu trochi; ac hefyd y rhifynau 7, 8, a 28 o Brophwyd y Jubili.

☞ Gwell i bawb sydd am rwymo eu Llyfr Mormon yn Llundain wneyd brys, canys bwriadwn eu danfon ymaith yn mhen oddeutu pythefnos, ac ni fydd cyfle ar ol hyny.

☞ Dylai personau pellenig sydd yn ymofyn *licences*, &c., trwy y post, os ydynt am eu cael heb fyned trwy law dosparthwr eu cynnadledd, yru arian yn mlaen, ac yna gallant eu cael yn rhwydd. Ni wnawn ni sylw o *orders* neb, oddieithr y dosparthwyr rheolaidd, os na yrant ddigon o arian yr un pryd; ac os dygwydd iddynt yru gormod, gyrir y gweddill yn ol gyda y llyfrau a erchir.

☞ Dealled y Dosparthwyr na fydd dim Llyfr Mormon, Ath. a Chyf., na Llyfrau Hymnau, yn cael eu gwerthu mwy heb eu rhwymo, oddieithr y Llyfr Hymnau lleiaf, yr hwn a werthir fel arferol. Gallwn ddiwallu pawb yn awr â'r ddau Lyfr Hymnau ynghyd, pris 1s 4c, wedi eu rhwymo.

☞ Dylai y rhai sydd yn ysgrifenu traethodau i'w hargraffu, ysgrifenu yn eglur, cywir, bras, a byr, ac yna byddant yn fwy cymmeradwy. Mae llawer o ysgrifenwyr da yn mhlith y Saint yn cuddio eu talentau, a byddai yn dda genym eu gweled yn diwygio.

☞ Y rheswm fod y rhifyn hwn yn dyfod allan mewn wythnos ar ol y llall, yw o herwydd i ni ohirio cyhoeddiad y rhifyn diweddaf.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 11.] MAI 29, 1852. [CYF. IV.

## COFNODION CYNGHOR CYFFREDINOL NEILLDUOL

*Prif Awdurdodau Cynnadleddau Prydeinig Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.*

[Parhad o dud. 156.]

PRYDNAWN DYDD MAWRTH, EBRILL 6, 1852.

AM dri o'r gloch ymgyfarfyddodd y Cynghor, yn ol y gohiriad, ac a ail-agorwyd trwy ganu y 18fed Hymn, "Beloved brethren, sing his praise," &c.; ar ol yr hyn gweddiodd yr Henuriad Erastus Snow.

Y Llywydd F. D. Richards, ar ol ychydig o sylwadau rhagarweiniol, a ddywedodd,—Yr wyf yn gosod o'ch blaen y gorchwyl o benodi Llywydd ar yr Eglwysi Prydeinig pan fyddaf fi yn ymadael, ac er rhoddi i chwi feddylddrych cywir o'r pwnc, mi a ddarllenaf lythyr wedi ei arwydd-nodi gan y Llywydd Brigham Young, yn cynnwys hyfforddiadau ar y pwnc hwn. Ond cyn gwneuthur felly, er fy moddlonrwydd fy hun, mi a alwaf drosodd enwau y Llywyddion, &c.

[Cafwyd allan, trwy alw drosodd yr enwau, fod holl Lywyddion y Cynnadleddau, &c., yn bresennol, oddieithr Llywydd Cynnadledd Ynys Manaw, a Llywyddion yr Eglwys yn yr Iwerddon.]

Wrth osod y cwestiwn hwn o'ch blaen, frodyr, mi a ddarllenaf i chwi gyfran o'r llythyr hwn oddiwrth y Llywydd B. Young, mor bell ag y mae yn dal cyssylltiad â'ch dyledswyddau cyhoeddus chwi.

[Yna y Llywydd Richards a ddarllenodd allan o lythyr swyddol y Llywydd Brigham Young.]

Mi a ddarllenais hyn i chwi, frodyr, fel y gwypoch yr oll ag a ddywedodd y Llywyddiaeth yn eu llythyr ynghylch penodiad fy olynydd, ac hefyd y cyfarwyddiadau i mi fyned allan y tymmor hwn. Hyn yw yr holl gyfarwyddyd a dderbyniais, oddieithr yr hyn a gynnwysir yn y chwechfed Epistol Cyffredinol. Yr wyf yn dymuno eich gadael yn y fath sefyllfa ag a'ch galluoga i gario yn mlaen y gwaith, ac yna os deuaf yn ol, y byddaf yn sicr o'ch cael mewn sefyllfa dda.

Yr wyf wedi ymdrechu hyfforddi y brawd Samuel yn holl fusnes y swyddfa, yn ol cyfarwyddyd y Brif Lywyddiaeth, ac yn awr mae y mater yn agored i'ch ystyriaeth chwi.

Cyfododd yr Henuriad Erastus Snow, ac a wnaeth y sylwadau canlynol:—Anwyl frodyr, megys ag y dywedwyd gan un o'r llefarwyr boreu heddyw, felly y teimlwyf finnau, h.y., fod doethineb yr Arglwydd wedi llywodraethu, a'i Ysbryd Ef wedi llywio *llyw* y llong yn yr Ynysoedd Prydeinig mewn amseroedd ag ydynt wedi myned heibio; a bod pob Llywydd ag sydd wedi ei benodi, wedi teimlo fod ganddo ddyledswydd bwysig i gyflawni, a bod yr Ysbryd yn ymddangos fel pe yn parotoi y ffordd i ganlynydd y brawd Franklin. Yr wyf yn cymmeryd y rhyddid o hysbysu fy meddwl ar y pwnc hwn. Teimlwyf fod Ysbryd yr Arglwydd yn awgrymu i ni oll pwy yw ef i fod; a meddyliwyf pe gadewid i bawb bleidleisio yn ddirgelaidd, y pleidleisiem oll yr un ffordd. Wel, pan fo yr Arglwydd yn llefaru, pwy a all ymattal rhag prophwydo? Pan fo yr Ysbryd yn sicrhau peth i bob un, y mae hwnw yn iawn, canys llais unfrydol ei weision yw llais Duw. Y mae pob beth ag y mae, neu y bu, pobl Dduw yn unol yn ei gylch, wedi bod er eu lles. Sylwyd yn dra phriodol, mai pwy bynag a benodir i Lywyddiaeth yr Eglwysi Prydeinig, fod yn anghenrheidiol eich bod chwi yn unol yn mhob peth, a'r Ysbryd undeb hwnw a orphwys ar yr hwn sydd yn llanw y gadair Lywyddol. Gwaith yr Arglwydd ydyw, a chafodd ei adeiladu, nid gan ddynion, eithr gan yr Arglwydd.

Teimlwyf fod y brawd Samuel W. Richards wedi ei barotoi gan yr Ysbryd Glân i rodio yn olion traed ei frawd Franklin, h.y., i gymmeryd arolygiaeth y gwaith yn yr ynysoedd hyn. Ac er fod y Llywyddiaeth wedi gadael y pwnc yn agored i awdurdod-

au yr Eglwys yn y wlad hon i'w benderfynu, etto ymddengys fod yr Ysbryd wedi awgrymu yn ddoeth, ac wedi awgrymu i'n calonau, pwy a gaffai fod, o leiaf gwna felly i mi; ac yr wyf fi yn teimlo o'm calon, nad oes un dyn yn y wlad hon, ar ol i'r Deuddeg ymadael, ag sydd yn fwy addas i'r tasg nâ'r brawd Samuel W. Richards. A theimlwyf hyn, os caniatâ y brawd Richards i mi, i gynnyg fod iddo gael ei gynnal gan y Cynghor hwn, &c. Yr wyf yn teimlo yn llawn o Ysbryd y brophwydoliaeth ynghylch y brawd Samuel, ac yn gymmaint ag y bydd i chwi gynnal hyn, yr wyf yn teimlo yn llawn o Ysbryd y brophwydoliaeth tuag atoch chwithau, fy mrodyr, gyda golwg ar y gwaith da a gyflawnir yn y wlad hon. Bum yn adnabyddus â'r brodyr Samuel a Franklin am hir amser, ac yr wyf wedi sylwi ar eu gyrfa yn mlaen a thuag i fyny yn yr Offeiriadaeth, ac y mae yn achos o lawenydd mawr i mi ac i'w cyfeillion, eu bod wedi eu bendithio gan yr Arglwydd mor helaethlawn, a bod y brawd Samuel yn mwynhau i raddau mor fawr yr un Ysbryd ag a orphwys ar y brawd Franklin; a rhaid i mi ddweyd, tra y bum yn Mhrydain Fawr, i mi gael fy moddhau wrth weled Ysbryd a gallu yr Arglwydd, ag sydd gyda y brawd Samuel, a theimlwyf yn sicr mai meddwl ac ewyllys yr Arglwydd yw, fod i'r brawd Samuel W. Richards lanw y lle pwysig ag a lanwodd Franklin; ïe, mor sicr â phe byddai yr Arglwydd wedi llefaru o'r nefoedd. Y maent wedi bod megys Brigham a Heber er yn blant, ac er pan ddaethant i mewn i'r Eglwys y maent wedi bod i fyny i'r nod!—bob amser yn y llwybr iawn!—bob amser yn eu lleoedd priodol! Ac er fod yr holl rai hyn, fy mrodyr, yn ddynion da, ac yn debyg o wneuthur gwaith mawr a galluog ar y ddaear, etto teimlwyf mai y brawd Samuel yw y dyn ag a ddewisodd yr Arglwydd i lanw y swydd bwysig hon.

Llefarodd amryw o'r brodyr yn y modd mwyaf parchus, brawdol, a chariadus am y brawd S. W. Richards, a dangosodd pob un ei ddymuniad iddo fod yn Llywydd arnynt.

Cyfododd yr Henuriad Samuel W. Richards ac a ddywedodd,—Teimlwyf, fy mrodyr, i wneuthur ychydig o sylwadau, oblegid fy mod i yn dal perthynas neillduol â'r mater ag sydd yn awr ger eich bron. Yr oeddwn hefyd yn teimlo yn gyffelyb ynghylch yr hyn a basiodd yn y boreu, canys fe wyddwn fod y brawd Franklin i ymadael yn fuan, ac y buasai ei absennoldeb yn cael ei deimlo yn fawr, pwy bynag a elwid i lanw ei le.

Pan gyflwynwyd fy enw i, teimlwn mai ychydig oeddwn wedi wneuthur i haeddu y fath ymddiried yn mhlith fy mrodyr, etto teimlwyf i wneuthur yr hyn a ofynir genyf, a thrwy fendith Duw, i ymdrechu cario allan yr hyn a ddechreuodd y brawd Franklin.

Er mai fi oedd cludydd yr hyfforddiadau a ddanfonwyd at y brawd Franklin, ac er fy mod yn wybodus o honynt, etto ni ddaeth i'm meddwl am fynyd mai myfi fuasai yr un a benodid i lywyddu; pe buasai, mi a ddymunaswn gael aros gartref; eithr teimlwn fod y brawd Franklin yn Apostol, ac y cawswn fy nghyfarwyddo ganddo ef. Ni theimlais fy hun yn gydradd ag ef erioed —ac ni feddyliais fod genyf y dealltwriaeth ag sydd ganddo ef, eithr teimlais yn ewyllysgar bob amser i gael fy hyfforddi ganddo ef. Yn gymmaint ag i mi unwaith gael fy mhenodi i'w ddilyn ef yn Llywyddiaeth y Saint Ysgotaidd, gobeithiwyf y rhydd Duw râs i mi i'w ddilyn yn y sefyllfa hon hefyd, fel y cyflawnwyf fy nyledswyddau yn uniawn yn ei olwg ef, os mai teimlad fy mrodyr yw fod i mi gael llanw y swydd hon. Ac mi a deimlwn yn awr i gilio yn ol, oni bai fy mod yn ymwybodol o'r dyledswyddau y rhai a osodir arnaf gan awdurdodau yr Eglwys hon. Os na ofalwn ynghylch y dyledswyddau a osodir arnom, byddwn yn sicr o gael ein dianrhydeddu gerbron Duw a'r byd. Eithr yr wyf fi wedi penderfynu yn fy nghalon mai yn mha sefyllfaoedd bynag y gosodir fi, y bydd i mi ddilyn yr yrfa hono yn yr hon y cyfiawnheir fi gerbron Duw a'm brodyr. Gwn fy mod wedi cael fy mendithio yn yr amser a aeth heibio trwy ufyddhau i'w cynghorion, ac am hyny rhydd hyn i mi ymddiried dros yr amser dyfodol. Ac os wyf yn meddu ymddiried fy mrodyr, mi a gaf ymddiried a bendithion Duw a'r angylion! Dyma yw fy nheimladau! Nid wyf fi yn unig; eithr y mae genyf ddynion o'm hamgylch ag ydynt wedi eu penodi i fod yn gydweithwyr â mi, ac wedi eu bendithio gan Dduw i'r dyben hwnw. Mae yr Arglwydd yn ddiau yn gwneuthur gwaith mawr ar y ddaear, ac Efe sydd yn ei wneuthur, ac nid dynion, canys oni buasai gallu Duw, nis gallai dynion gyflawni ei amcanion.

Fy mrodyr, o herwydd y pethau hyn,—o herwydd yr hyn a wn am bethau Duw,—o herwydd y rhwymau ag wyf danynt i Dduw, yr ydwyf yn ewyllysgar i gymmeryd arnaf y cyfrifoldeb hwn.

Dywedodd y Llywydd F. D. Richards,—Frodyr, yr wyf yn cyfodi i lefaru ychydig o blaid y brawd Samuel. Yr wyf yn

ei adwaen er pan yr oedd yn blentyn; ac er pan ddaethom i'r Eglwys hon, nid wyf yn gwybod i mi erioed glywed gymmaint ag anadliad o wrthwynebiad, eithr ni a fuom o un galon ac o'r un meddwl; ac y mae egwyddor wedi bod yn ei feddwl ef ag sydd yn anghenrheidiol i bob dyn ei mwynhau. Frodyr, yr wyf wedi deall nad oes un dyn yn addas i lywodraethu, hyd nes y byddo efe yn addas i gael ei lywodraethu yn yr Eglwys hon. Pan weloch ddyn yn defnyddio y gallu a roddwyd yn ei ddwylaw yn alluog, chwi a ellwch ei ddewis ef a dynion cyffelyb i lywyddu, a'r bobl a fyddant yn ufydd i'w cynghorion. Mae y brawd Samuel erioed wedi dangos yr ysbryd hwn; ac nid hyn yw y cyfan, mae y brawd Samuel yn meddu Ysbryd y dadguddiad, a hyny i raddau helaeth. Yr ydych yn cofio ein bod yn Lloegr yn yr amser yr oedd y brodyr Hyde, Pratt, a Taylor yma; ac i ni gael yn y Gymmanfa Gyffredinol, a gynnelid yn Manchester, ein penodi i lywyddu dros yr Eglwysi yn Scotland. Ni fuom yno yn hir cyn iddo ef freuddwydio breuddwyd, a dywedyd wrthyf fi yn y boreu, "Frawd Franklin, mi a freuddwydiais i chwi gael eich ordeinio i gorwm y Deuddeg." Wel, pan aethom drosodd i'r America, cawsom ar ddeall fod yr un peth dan ystyriaeth gan y Brif Lywyddiaeth ar yr amser hwnw. Er nad oedd genyf fi ffydd yn y freuddwyd, nac yn ei hystyried yn werth ei chofio, etto pan gyrhaeddais adref, dygwyd hi, ynghyd â breuddwydion pwysig ereill, yn dra tharawiadol i'm sylw.

[Yna y penderfyniadau canlynol a gynnygiwyd, ac a gariwyd yn unfrydol:—1. Fod y Cynghor hwn, megys cynnrychiolwyr Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn Mhrydain, yn cydnabod ac yn cynnal yr Henuriad Samuel W. Richards, fel canlynydd y Llywydd F. D. Richards, yn holl drafodaeth y Swyddfa, ac fel Llywydd yr Eglwysi Prydeinig. 2. Fod yr Henuriad Levi Richards yn cael ei gydnabod fel Cynghorwr i Samuel W. Richards.]

Frodyr, mae yn rhaid i chwi feddu ymysgaroedd o dosturi tuag at blant dynion, ac yn neillduol tuag at eich brodyr ag ydynt ar genadiaethau tramor, a bydded iddynt gael eich ffydd a'ch gweddiau, fel y byddo i'r Arglwydd barotoi y ffordd o'u blaen, canys yn wir y mae'r teulu dynol mewn sefyllfa isel. Yr wyf fi yn myfyrio ynghylch hyn, ac yn gofyn i mi fy hun,—Ai nid ein brodyr a'n chwiorydd yw y rhai hyn? ai plant Duw yw y rhai

hyn? Ac os cawn ni y fath deimladau o gydymdeimlad a thosturi tuag atynt hwy, beth raid fod teimladau ein Tad nefol? Frodyr, mae y gwaith ag yr ydych yn ymwneyd ag ef yn deilwng o'r ymdrechiadau goreu a ellwch wneuthur, fel y byddoch yn offerynau i ddwyn dynion o'u hiselder, ac fel y byddoch yn waredwyr i bobl lawer.

Ni fum erioed yn adnabyddus â Saint yr Ynysoedd Prydeinig, pan y bum yn cael fy moddloni yn fwy nag yn yr amser presennol gyda'r llu o Henuriaid ag ydynt yn llywodraethu yr Eglwysi yn y wlad hon, ac nis gallwn gael yr un nifer o wyr yn un parth o'r byd ag y gallwn gyd-lafurio â hwynt gyda mwy o foddlonrwydd, nag yn yr amser presennol. Nid wyf yn proffesu prophwydo, eithr teimlwyf y bydd i waith yr Arglwydd lwyddo yn fwy nag hyd yn hyn. Yr oeddwn yn teimlo ychydig yn anfoddlawn pan yr edrychais dros y cynnrychiolıadau, a chael allan, er ein bod wedi bedyddio dros wyth mil yn y flwyddyn ddiweddaf, nad oedd y cynnydd ar y cyfan ond ychydig o gannoedd; eithr pan yr holais i achosion y gwahanol Gynnadleddau, cefais allan fod rhai Llywyddion hyd yma wedi bod yn cynnrychioli cannoedd o Saint nad oeddynt mewn bodoliaeth; ac yna, pan beidiodd y rhai hyny gael eu cyfrif, yr oedd gwahaniaeth o bwys wedi ei wneuthur yn ein rhifedi. Dylai y Llywyddion, yn gyffredinol, gyffroi eu Hysgrifenwyr i deimlad o'u dyledswyddau yn y mater hyn, a lle nad yw y cof-lyfrau yn gyflawn, dylid edrych at hyny yn ddioed. Yr wyf am i Lywyddion y Cynnadleddau gael eu haelodau yn y fath drefn, fel y gallont unrhyw amser ddanfon llythyr o *barticulars* i bob parth o'r byd, a rhoddi mynegiad eglur o'u Cynnadleddau. Mynwch eich praidd wedi eu bugeilio yn dda, a byddwch abl i osod eich bys ar unrhyw un o'ch aelodau, ac yna chwi a fyddwch mewn llawer llai o drafferth nâ phe caniatasech iddynt fod mewn cyflwr dibris gyda golwg ar eu gwahanol ddyledswyddau. Mae y dosparth uchaf â'u golygon arnom, yn sylwi ar ein gweithrediadau a'n cynnydd, a gallaf ddywedyd wrthych nad yw gwaith yr Arglwydd yn gwneuthur cynnydd mawr heb fod y rhai ag ydynt mewn sefyllfaoedd uchel yn sylwi arno. Tymmor yr haf yw yr amser i chwi, frodyr, i wthio eich Traethodau yn mlaen, a llefaru y gwirionedd, canys meddaf wrthych, y mae yn mhob dosparth o gymdeithas rai o had Israel, a gelwir arnom ni i'w galw allan o blith y Cenedloedd, ac am hyny

mae yn rhaid i ni ddefnyddio pob cyfleusdra i gyflawni y gwaith.

Pa beth a wnawn ynghylch helaethu y STAR? Yr wyf am lefaru ychydig ynghylch hyn. Cyflawnodd y brawd Pratt waith mawr wrth liosogi ei chylchrediad bedwar cymmaint. Cynnyddwyd ei chylchrediad i *ugain mil*! Oddiar hyny codasom ninnau hi o ugain i dair mil ar hugain a hanner. Mae Golygydd y *Deseret News* wedi addaw cyhoeddi Hanes Joseph, yr hwn yn ddiammau fydd yn hoff gan Saint y wlad hon ei weled; eithr gan fod y *Star* yn bresennol yn rhy fychan at y newyddion aml mewn perthynas i ledaeniad gwaith yr Arglwydd mewn gwledydd ereill, nis gallwn gyhoeddi hwnw heb i ni helaethu maintioli y *Star*; am hyny, os ydych yn meddwl oreu i gyhoeddi llèn a hanner yn lle ond un llèn, yna gallwn gael hanes Joseph i ddyfod allan yn barhaus. Am hyny, yr wyf am wybod, pa un gwell gan y Saint fydd cael y STAR yn 24 tudalen, neu ei pharhau yn ei maintioli presennol?

Llefarodd amryw o'r brodyr o blaid cynnyddu maintioli y STAR, neu ei chyhoeddi yn wythnosol; ar ol yr hyn y Llywydd Richards a gynnygiodd derfynu dros y dydd, a chyfarfod drachefn boreu dydd Mercher am 10 o'r gloch. Yna y brodyr a ganasant, "Hark! listen to the trumpeters," &c.; a gweddiwyd gan yr Henuriad Levi Richards.

BOREU DYDD MERCHER.

Ymgynnullodd y Cynghor ar yr awr apwyntiedig, ac a ganasant yr Hymn ar y 189 tud., "Now we'll sing with one accord," &c. Yna gweddiwyd gan yr Henuriad Levi Richards, ar ol yr hyn canodd y Cynghor, "There is a land beyond the sea," &c.

Cyfododd y Llywydd F. D. Richards a dywedodd,—Anwyl frodyr, mae yn dda genyf i gael cyfleusdra arall yn y boreu hwn, i gyd-ystyried y pynciau pwysig ag ydynt yn dal perthynas â gwaith Duw yn y tir hwn. Gobeithiwyf fod pob brawd wedi dyfod i fyny â'i galon yn llawn o'r Ysbryd Glân, fel y dysger ac y parotoer ni yn mhellach gogyfer â'r dyledswyddau bywyd ag ydynt yn awr o'n blaen; a pha faint bynag a ddeallwn o hyny yn awr, nid yw yr amser yn mhell pan y gosodir dyledswyddau pwysig a chyfrifoldeb mawr arnom i'w cyflawni, canys y mae dygwyddiadau mawrion i gael eu dwyn oddiamgylch yn y gen-

edlaeth hon. A nyni ydyw y personau ar y rhai y gosoda yr Arglwydd y cyfrifoldeb o gario allan y pethau hyn. Yn awr, y mae yn orchwyl hawdd genym, tra y mae gwaith yr Arglwydd mewn sefyllfa sefydlog, a thra nad ydym ninnau yn Seion, eithr wrth y gwaith o gyhoeddi, fel pe byddai, egwyddorion bychain yr Efengyl yn y wlad hon, gan gynnyddu ein gwybodaeth a'n gallu yn mhob rhodd dda, gan ymarfer ein hunain yn holl ddyledswyddau ein galwedigaeth; eithr nid yw hyn ond ernes o'r hyn sydd genym i'w ddwyn mewn amser dyfodol. Os darfu i rai o honoch deimlo, pan alwyd chwi i lywyddu dros Gynnadleddau, ei fod yn dasg i gyflawni eich dyledswyddau, mae yn rhaid i chwi gofio fod yn rhaid i ni gyd-dyfu â'r gwaith hwn, neu bydd iddo ein baeddu a'n gadael ar ol, ac yna y deuwn i'r ffordd hono yn yr hon ni fyddwn yn alluog i wahaniaethu rhwng gwirionedd a chyfeiliornad. Pob dyn nad yw yn tyfu fel y mae'r gwaith hwn yn tyfu, a goll yr Ysbryd, ac a â yn ddall gyda golwg ar bethau Duw. Mae arnom eisieu bod yn fywiog gyda gwaith Duw, ac i ledaenu y gwirionedd ar led ac yn mhell, ar y deau ac ar yr aswy; eithr ein dyben i ddyfod ynghyd y boreu hwn, yw fel y caffom ein hadnewyddu, ac yna myned adref i'n hamrywiol faesydd llafur wedi ein nerthu a'n parotoi gogyfer â'r dyledswyddau pwysig a orphwysant arnom.

Y pwnc ag oedd o'n blaen neithiwr oedd y "priodoldeb o gyhoeddi y STAR mewn ffurf helaethach." Ac y mae yn rhaid i chwi ddeall mai nid y cwestiwn yw, pa un a osodwn ddwy *Star* yn un, eithr pa un a gynnyddwn ei maintioli o un hanner, a chyhoeddi yr un nifer. Mae y pwnc yn awr yn agored i chwi etto.

Yna deuddeg o'r Henuriaid a draddodasant areithiau byrion ar y pwnc hwn.

Dywedodd y Llywydd F. D. Richards,—Frodyr, mae yn dda genyf eich clywed ar y pwnc hwn, ac hefyd ar bob pwnc arall. Gosodaf y mater o'ch blaen megys y mae yn ymddangos i mi:—

1. A gawn ni ychwanegu nifer y tudalenau yn mhob rhifyn o'r *Star*, neu ei chyhoeddi yn wythnosol yn ol y rhifedi presennol o dudalenau?

2. A gawn ni osod clawr iddi er ei chadw yn well, ac hefyd er cyhoeddi hysbysiadau?

Mae y meddylddrych olaf yn derbyn gwrthwynebiad yn y modd hyn: mae pob dyn yn y wlad hon ag sydd yn cyhoeddi papyr a gynnwysa hysbysiadau, i roddi *bonds* i'r goron. Meddyliwyf fod yn rhaid iddo gael dau feichnïydd hyd at y swm o bum cant o bunnau bob un; ac os cyhoedda rywbeth anghyfreithlawn, y mae yn agored i gael ei ddirwyo yn drwm iawn, ac wrth gwrs, yr wyf fi am ochelyd pob peth ag sydd â thuedd i'n dwyn i grafangau cyfraith y tir.

Llwyr argyhoeddir fi y buasai yn dda helaethu y *Star* o wyth tudalen, neu ei chyhoeddi bob wythnos. Pa beth a ddywedwch, frodyr? Yr wyf fi dros yr hyn a feddylioch chwi oreu.

Dywedodd y Llywydd J. Marsden,—Lywydd Richards, cyhoeddwch hi bob wythnos, ddywedaf fi.

Ar hyny, "Clywch," "Clywch," a "Dyna hi," a adseiniodd trwy yr ystafell drachefn a thrachefn.

Dywedodd y Llywydd F. D. Richards,—Yr wyf am wneuthur ychydig o sylwadau, er esgusodi fy hun rhag yr hyn a allai ymddangos i chwi yn feiau ynwyf; yr wyf wedi bod yn ddiwyd ynghylch ail-argraffu y Llyfr Hymnau, a'r "Voice of Warning," ac hefyd ail-argraffu ac ystyrdebu Llyfr Mormon. Yr oedd genyf i'w darllen drosodd a throsodd, a'u diwygio hwynt. Yr wyf wedi dechreu ail-argraffu y "Doctrine and Covenants" hefyd. Caiff y llyfr hwn ei ystyrdebu hefyd. Bydd i'r Henuriad Samuel W. Richards ei orphen; ac yna wedi i'r pethau hyn gael eu gorphen, a myned oddiar ei feddwl, bydd iddo ef gael cyfleusdra i ymweled mwy â chwi, nag a wnaethym i.

Am amryw droion, ni chafodd y *Star* ei chyhoeddi mor gysson ag y dylasid; gobeithiaf yr esgusodwch ryw ffaeleddau fel hyn, â pha rai y gallaf fod yn cael fy nghyhuddo, canys yr wyf yn sicrhau i chwi, mai llawer o fusnes fu yr achos.

Teimlwyf ein bod wedi cyrhaedd cyfnod pan y gellir cyhoeddi y *Star* unwaith bob wythnos, canys y mae gwaith yr Arglwydd wedi cynnyddu gyda'r fath gyflymdra, ac yn ymledaenu ar bob llaw, nes yr ydym yn derbyn hanesion yn wythnosol ynghylch ei lwyddiant; ac y mae pob peth mewn cyssylltiad â'r gwaith yn gofyn hyn ar ein llaw—i gyhoeddi y *Star* bob wythnos!

Yna penderfynwyd fod y *Star* o hyn allan i gael ei chyhoeddi bob wythnos, yn lle pob pythefnos.

Dywedodd y Llywydd F. D. Richards,—Frodyr, yr wyf yn awr

yn gosod peth arall o'ch blaen. Yr wyf am wybod pwy o honoch sydd â dynion genych yn eich Cynnadleddau, ag sydd ag *eiddo*, ynghyd ag *ysbryd* i'w defnyddio, er adeiladu Seion. Ar y pwnc hwn dymunaf ar yr Henuriad Erastus Snow i gyfodi a llefaru wrthych.

Cyfododd yr Henuriad Erastus Snow a dywedodd,—Pan oeddwn i yma yn Mehefin diweddaf, bu peth ymddyddan rhyngof â'r brawd F. D. Richards; a phan oedd amser genym i droi ein meddyliau at unrhyw beth o'r fath, yr oedd ein meddyliau, i raddau mwy neu lai, yn cael eu rhoi ar waith i feddwl ynghylch gwneuthuriad *haiarn* yn DESERET. Bu y brawd Lorenzo Snow a minnau yn siarad rhywfaint ynghylch y peth; eithr ymddangosai ein bod oll â'n dwylaw mor llawn o bethau perthynol i'r cenadiaethau, fel nas gallasem roi ein meddyliau ato. Eithr pan welsom Epistol Cyffredinol diweddaf y Brif Lywyddiaeth, yn mha un y cymhellant y peth i'n sylw mor neillduol, cafodd ei wasgu yn fwy ar ein meddyliau; a theimlasom ninnau na fuasem yn gwneyd ein gorchwylion yn iawn, a gorphen ein cenadiaeth, heb gyflawni y gwrthddrych hwnw a gymmeradwywyd mor neillduol gan y Brif Lywyddiaeth.

Cafodd y pwnc o godi gweithfeydd yn Seion, ei ddwyn gerbron y Gymmanfa Gyffredinol yn Manchester, er na chefais i y pleser o fod yn bresennol, ac yr oedd yn ddrwg genyf; etto mi a welais trwy y cofnodau, y rhai a argraffwyd, i'r Henuriad Taylor a'r Henuriad Pratt, ac ereill, ymhelaethu llawer arno. Wel, yr ydym yn teimlo mai Seion yw ein cartref, ac nad ydym ond pererinion yma, ac y mae arnom eisieu gosod sylfaen i'n teuluoedd a'n plant yn y lle ag y mae Duw wedi ordeinio yn noddfa i'w bobl. Pob rhan o'n heiddo a ddefnyddiwn yn Mabilon, sydd yn golled i ni ein hunain, ac y mae yn gymmaint â hyny yn cael ei golli yn Mabilon. Ac y mae pob dyn ag sydd wedi ei fedyddio i'r deyrnas hon, ac wedi dyfod yn blentyn mabwysiedig i Dduw, ac yn gyfranogwr o bethau Duw, yn rhedeg ymaith oddiwrth ei ddyledswydd, pan yn gwario ei eiddo yn Mabilon, ac ni ddaw byth i yfed yn helaeth o Ysbryd Duw hyd nes y defnyddio ei eiddo i adeiladu Seion; canys "*lle y byddo eich trysor, yno hefyd y bydd eich calon.*" Nid oes dim yn Seion â chymmaint o'i eisieu neu ei angheu, nâ gwaith haiarn. Ymddengys mai Haiarn yw y brif egwyddor neu'r moddion gofynol er llwyddiant sefydliad yn

Seion. Mae genym fŵn a glo; dim ond eisieu dynion ac arian sydd yn awr i gyd-ymgyfarfod. Mi a ddymunwn i swyddogion llywyddol Cynnadleddau i chwilio a chadw yn eu meddwl yr hyfforddiadau a roddwyd yn y Gymmanfa Gyffredinol yn Manchestr, canys bydd i'r hyfforddiadau hyny ateb yn dra chymwysiadol i wneuthuriad haiarn. A chyhyd ag y byddom yn amddifad o'r pethau hyn (tra mae y doll arnynt yn ddau cymmaint ag ar frethynau a phethau ereill), byddwn yn talu arian i'r Cenedloedd ag a ellid eu cadw yn Seion, pe buasai genym y gweithfeydd hyny wedi eu sefydlu. Yn awr, er mwyn egluro y peth, crybwyllaf yn unig am hoelion, yr hyn a enwyd yn yr Epistol diweddaf. Bydd eisieu y rhai hyn yn adeiladiad y Deml, ac nis gellir eu cael heb dalu llawer iawn dros yr hyn a gostiant yn St. Louis, canys prynant hwynt yn St. Louis am ddwy geiniog a dimai y pwys, a rhaid iddynt gael eu gwerthu yn y Dyffryn am swllt a cheiniog a dimai; ac yna nid ydynt hwy (y masgnachwyr) yn meddwl eu bod wedi eu talu yn dda, canys nid yn unig y maent hwy yn ymofyn ennill ar y swm ddechreuol, eithr ar yr arian a wariwyd wrth eu cludo dros y mynyddoedd; canys y mae'r swm a warir am eu cludo, oddeutu tair o weithiau yn fwy na'r swn a warir yn St. Louis i'w prynu. Mae yn rhaid iddynt hwythau gael eu helw yn y fath le â hwnw, ac y maent yn cyfrif ar gael elw yn ol meithder yr amser y rhoddant goel, a lle y maent yn rhoddi blwyddyn o goel, mae yn rhaid iddynt gael rhagor o elw na'r rhai sydd yn rhoddi tri mis o goel; ac y mae hyn oll yn dyfod allan o'r bobl; y mae yn gyffelyb i sugno gwaed calon y bobl. A thra y mae felly yn y Dyffryn,—fod genym i dalu y fath arian, mae y dynion hyny yn sugno ein harian, y rhai, pe gwnaethid yr hoelion yn y Dyffryn, a allent aros gyda'r Eglwys, yn lle eu bod yn myned i ddwylaw pobl ereill.

Yr oedd gwneuthuriad *gwirs* hefyd yn cael ei grybwyll yn y 6fed Epistol Cyffredinol; ac y mae'r cyfarwyddiadau hyny yn perthyn yma, canys y mae eisieu gwirs er cloddio, ac at offerynau o wahanol fathau, ac at lawer o ddybenion ereill. A pha gymmaint rhatach fydd cael y pethau hyn wedi eu gwneuthur yn y man hyny, nâ'u prynu am y prisiau anferth y gorfodir ni i'w rhoddi yn bresennol.

Yr oedd yn llawen iawn genyf am y llwyddiant a ddilynodd ymdrechiadau yr Henuriad Taylor i reoleiddio cwmnïoedd i

wneuthur *siwgr* a *brethyn*, a'm gweddi yw y bydd iddynt brofi yn llwyddiannus, ac y bydd lles yn deilliaw, nid yn unig i'r bobl yn Seion, ond i'r rhai hyny a osodasant eu harian yn y fusnes. Eithr pan y cymharwyf y rhai hyn â gwneuthuriad haiarn, teimlwyf fod haiarn yn beth llawer mwy ei bwys. A phob blwyddyn ag y gohirir y mater hwn, y mae filoedd o bunnau allan o'n llogellau. Frodyr, yr ydych yn dal i lafurio yn Mabilon, tra y byddech o fwy bendith yn Seion; gwna rhai o'r brodyr aros a thrafferthu, a threulio eu dyddiau goreu, a gwario eu nerth yn Mabilon. Nis gall y pwnc gael ei gymhell yn rhy nerthol, yn neillduol ar y cyfryw ag wyf fi wedi eu henwi.

Yn y lle cyntaf, y mae o bwys i *ffwrneisiau* gael eu gosod mewn gweithrediad. Y mae hyn yn meddwl y Llywyddiaeth (ac yr oedd cyn i ni ymadael, ond nis gallant hwy wneyd pob peth ar unwaith,—maent hwy yn gwneyd yr oll a allant, ac yn estyn llaw i'n cynnorthwyo ninnau, ac y maent yn dysgwyl i ninnau wneyd yr oll a allom), i sefydlu *ffwrnais*, a ffurfio cwmpeini i ddwyn y mŵn o'r mynyddau. A'r peth nesaf (i'm meddwl i), yw cael *melin rolio*; eithr yn y lle cyntaf, y mae arnom eisieu pump ar hugain o *ffwrneisiau toddi*), a thebygol yw y cânt *un* yn fuan yn y Dyffryn). Y mae eisieu *cooking stoves* yn enbyd yma; mewn ffaith, nis gall neb ddweyd pa faint yr arbedai y bobl yno mewn *cooking stoves*, pe buasent ganddynt. Arbedai, yn ol y cyfrif lleiaf, un bunt ar bymtheg y flwyddyn i bob teulu. Mae *cooking stove* yn costio ugain punt yn y Dyffryn, yr hon a ellir ei phrynu yn St. Louis am dair punt. Ac y mae niferi o ddynion (brodyr yn yr Eglwys), yn gwario eu nerth yn Mabilon, pan y gallant fod yn Seion, yn cynnorthwyo i adeiladu teyrnas Dduw, ac arbed y Saint yn y Dyffryn, y rhai ydynt wedi gwneuthur llawer, rhag talu am gario haiarn dros y mynyddoedd. Nid wyf fi yn areithydd i osod allan y pethau hyny mewn rhyw ddull ardderchog; eithr pob dyn ag sydd yn eu deall hwy, a ddeallant hefyd yr ychydig awgrymiadau hyn.

Bydd *melin rolio*, yn fy marn i, er nad wyf yn proffesu bod yn wybodus yn eu cylch, yn anghenrheidiol yn y lle cyntaf. Nis gellir gwneuthur *hoelion* a *gwirs*, a llawer o bethau ereill, hyd nes y bydd genym felin rolio; ac hefyd at rolio llafnau haiarn at wahanol ddybenion; ac at farau bychain, a llawer o bethau ereill. Mynwch y pethau hyn, a haiarn *stoves* a rheilffyrdd, a

gweithfeydd hoelion, a pheirian-waith o amryw ddesgrifiadau, a'r holl bethau ereill anghenrheidiol er cael gwaith haiarn sefydlog; a bydd i'n pobl arbed miloedd o bunnau, y rhai, os na sefydlir y gweithfeydd hyny, a raid o anghenrheidrwydd eu talu allan o'r cydwladoldeb. Wel, yr wyf fi yn credu fod genym y dynion a'r arian yn y Cynnadleddau Prydeinig, os gwna pawb eu defnyddio, er cyflawni yr holl bethau hyn.

Yn y tymmor diweddar hwn o'r flwyddyn, nid yw yn debyg y gellir gwneuthur dim, yn fwy nâ gosod y peth mewn gweithrediad erbyn y flwyddyn nesaf, fel ag i gymmeryd cwmpeini, &c., yn y rhan gynnaraf o'r tymmor, er fy mod yn credu y gellir gwneuthur rhywbeth tuag at sefydlu ffwrneisiau; canys nid wyf yn meddwl y bydd eisieu llawer o beirian-waith er dwyn y mŵn o'r mynyddau, a'i doddi yn *pigs*. Eithr bydd rhai o'r brodyr yn alluog i roddi rhyw hysbysiaeth ynghylch y rhan hon o'r gwaith.

Yr wyf eisieu cael allan deimladau y brodyr ar y pwnc hwn, a'r eiddo sydd ganddynt yn eu Cynnadleddau. Yr wyf wedi cael ar ddeall tra y bum yma, fod brodyr ag ydynt yn edrychol ar ol gweithfeydd hoelion a ffwrneisiau, eithr nid wyf wedi clywed am neb ag ydynt yn ymarferol adnabyddus â melin rolio, eithr gobeithiaf, cyn yr ymadawn, i dderbyn rhyw hysbysiaeth ar y pwynt hwn. Yr wyf fi yn awr yn gadael y pwnc yn nwylaw y brodyr.

Cafodd y gweddill o ddydd Mercher, dydd Iau, a boreu dydd Gwener, eu defnyddio er ystyried y pwnc o wneuthur haiarn, &c; ac hefyd sefyllfa y gwahanol Gynnadleddau yn yr Ynysoedd Prydeinig.

Yn ystod yr amser hwn, cafodd y penderfyniadau canlynol eu pasio:—

1. Fod cwmpeini o ddynion arianol a ffyddlawn i gael ei reoleiddio a'i ddanfon o'r wlad hon, y tymmor nesaf, i'r Dyffryn, i'r dyben o adeiladu ffwrneisiau, gwneuthur peirianwaith, &c., anghenrheidiol er toddi a gwneuthur haiarn.

2. Fod y Saint sydd yn cyfansoddi Cynnadledd y Gallaway Union, i'w huno â Chynnadledd Glasgow.

(*I'w barhau.*)

## RHYBYDD.

*Aberamman, Mai 15, 1852.*

ANWYL FRAWD DAVIS,—Byddwch garediced ag hysbysu trwy yr UDGORN fod W. T. Tonkins, *sinker* wrth ei gelfyddyd, yr hwn oedd hefyd yn Henuriad yn Nghangen Seisnig Aberdar, wedi encilio yn ddirgel o'r lle uchod, â thair punt o arian yr Eglwys yn ei feddiant, ynghyd â deg punt a deugain, neu ragor, oddiwrth deuluoedd tlodion o Saint, ac ereill ag oeddynt yn gweithio iddo. Clywais ei fod yn rhyw un o Swyddi Lloegr, a rhag iddo ormesu ar y Saint, carwn i chwi gyhoeddi yn yr UDGORN ei fod wedi ei dori allan o'r Eglwys, ar y 24ain o Ebrill, am y cyfryw drosedd. Bu unwaith yn ddyn da, ond yn ddisymmwth syrthiodd i'r trosedd gwarthus a nodwyd, yr hyn a achosodd erlidigaeth adnewyddol ar y Saint yn y lle hwn.

Yr eiddoch yn y Cyfammod Newydd,

THOMAS PUGH,

**Llywydd Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg.**

---

## PENNILLION.

(I'w canu ar "Lukeconia.")

PA'M caseir ni gan rieni?
Pa'm yn elyn troa brawd?
Pa'm i'r ffryndiau goreu ini
'Nawr yn nodau gwg a gwawd?
Ni a fynem i'n hîliogaeth
Wybod 'wyllys Duw yn hy,
Ond ni chredant ein tystiolaeth,
Yna, pwy i'w beio sy'?

Hoffder byd yw diystyru
Pobl Dduw, am ddweyd y gwir;
Hwy laddasant ein prophwydi,
Draw ar yr Amerig dir;
Ond ni laddwyd y goleuni,
Mae ef etto yn ein gwlad,
A'r rhai gonest ymhyfrydant,
Pan y caffont ei fwynhad.

Dynion drwg gasânt oleuni,
Mewn tywyllwch maent am fyw ;
Gwawl y Nef sydd yn dynoethi
Eu gweithredoedd o bob rhyw;
Ac am hyny y cynhyrfant,
Cywilyddiant wel'd eu gwaith,
Ond cyfiawnder lywodraetha
Arnynt oll heb fod yn faith.

Seintiau hoff, deffrowch yn union,
Doed i'n cof lle'r y'm yn byw,
Mai mewn gwlad sy'n llawn gelynion
I wir offeiriadaeth Duw :
Awn yn hy dros donog foroedd,
Oll yn enw'r Iesu mâd,
A chyd-ddringwn greig-fynyddoedd
Er meddiannu tir ein gwlad.

*Clynmil.* JOHN WILKINS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

EXPLOSION AGER-FAD.—Ar y 9fed o Ebrill, dygwyddodd anffawd galarus ar afon felldithiol y Missouri, trwy i'r ager-fad "Saluda" ymddryllio yn ddychrynllyd, ar ei gychwyniad o dref Lexington. Yr oedd oddeutu 175 ar y bwrdd, yn mysg pa rai yr oedd amryw o Saint. Dywed y "Missouri Republican" y gall fod oddeutu cant wedi eu niweidio a'u lladd; ond erbyn i ni rifo enwau y rhai a laddwyd, nis gallem eu cael yn fwy nâ 32, a'r rhai a glwyfwyd yn 31. Cafodd y rhan fwyaf o'r morwyr eu lladd, a rhyw ychydig o'r Saint, sef Mrs. Dunbar a'i phlentyn, dau blentyn Mrs. Rollins, a dwy Miss Baileys, o Loegr. Nid oes neb arall yn cael eu henwi, ond tri phlentyn i Rachel Rowlands, (o Hirwaen feddyliwn). Mae Rachel Rowlands wedi tori ei chlun, ac y mae hi a'i dwy ferch, un 5 mlwydd a'r llall yn 13, yn cael eu hamgeleddu yn Lexington. Enwir y brawd W. C. Dunbar, ac ereill, yn mhlith y rhai a niweidiwyd. Mae yr hanes i'w weled yn gyflawn yn y *Star* am Mai 29, 1852; a chan hyny nid oes achos ymhelaethu yma.

YMADAWIAD.—Ymadawodd yr Apostolion F. D. Richards ac Erastus Snow, ar fwrdd yr ager-long "Africa," o Liverpool i Gaerefrog Newydd, ar ddydd Sadwrn, yr 8fed o'r mis hwn, gydag argoelion o fordaith gysurus. Rhwydd hynt iddynt i gyrhaedd pen eu taith.

YMGASGLU O DDIFRIF.—Hysbyswyd ni fod yr Henuriad Ezra T. Benson wedi gorchymyn (ac y maent yn debygol o fod mewn gweithrediad erbyn hyn), 1000 o wageni, 2000 o law-geirt, a 1000 o *wheelbarrows*, er mwyn i'r Saint tlodion ymfudo y tymmor hwn o Council Bluffs i Ddyffryn y Llyn Halen Fawr. Dyna'r ffordd i'r tlodion ymgasglu i Seion! Iechyd, nerth, a llwyddiant iddynt.—*Star.*

PENDERFYNIADAU.—Penderfynwyd ar y 27ain o Fai, 1852, gan Brif-lywyddiaeth yr Eglwys Gymreig, fod Cynnadledd Sir Gaerfyrddin i'w rhanu yn ddwy, a bod Cangenau Caerfyrddin, St. Clears, Wern, Brechfa, Llanpumsaint, Pencader, a Chastell-newydd, i'w gwneyd yn gynnadledd, dan yr enw Cynnadledd Caerfyrddin, a bod Thomas C. Martell i fod yn llywydd, a Thos. Jenkins yn gynghorwr iddo: hefyd, fod yr holl gangenau yr ochr arall i'r afon Towy, i fod yn gynnadledd arall, dan yr enw Cynnadledd Llanelli, a bod Abednego Jones i fod yn llywydd: hefyd fod cangen Llansawel i gael ei throsglwyddo i Gynnadledd Sir Aberteifi.

CYNNYRCH YN UTAH.—Mae Mr. Mendenhall, yn Springville, Dyffryn Utah, wedi agor 38 o erwau o dir newydd, a chodi arno, y tymmor hwn, 600 o fwsheli o wenith, 250 o yd (Indiaidd), 260 o fetys (pwysai rhai unigol o honynt yn 22 pwys), 275 o bytatws (rhai o honynt yn pwyso 5½ pwys yr un), 20 o winwyn, ac 11 o bys; 11 o wageneidiau o *bumpkins* a *squashes*, llawer o ba rai a bwysent, o 95 i 100 pwys yr un; ynghyd ag amrywiaeth o bethau ereill.—*Deseret News.*

MARWOLAETHAU YN NINAS Y LLYN HALEN FAWR.—Wrth edrych dros lyfrau y clochydd, cawn hanes am 2 wedi marw yn 1848, 26 yn 1849, 54 yn 1850, a 64 hyd Rhagfyr 15, 1851. O'r rhai hyn yr oedd yn wrrywod, 14 dan 1 flwydd, 18 dan 10, 10 dan 20, 5 dan 30, 4 dan 40, 8 dan 50, 6 dan 60, 4 dan 70, a 2 dan 80; ac yn fenywod, 10 dan 1, 18 dan 10, 12 dan 20, 14 dan 30, 5 dan 40, 5 dan 50, 8 dan 60, 2 dan 70, ac 1 dan 80; cyfanswm, 146. Allan o'r uchod, y mae 6 trwy foddiad, 1 trwy syrthio, 1 trwy lwyth o wair, a 3 trwy gael eu gwenwyno trwy fwyta gwreiddiau. Nid ydys yn meddwl mai dyma yr holl farwolaethau ag sydd wedi dygwydd, eithr dyna i gyd a ddangosir gan y clochydd; ychydig iawn o'r clefydau a enwir. Dymunem ar y clochydd fod yn fwy manwl wrth roi hanes pob marwolaeth, mor bell ag y gŵyr, gan nodi y clefyd, y physygwr fu yn gweini, &c., &c.—*Deseret News.*

---

TALIADAU O MAI 13 HYD MAI 26.—Sir Gaerfyrddin, £2; Gorllewin Morganwg, £4; Pontytypridd, £1 13s 8c; Dowlais, 12s 3c; Hirwaen, 3s 3c; Georgetown, 9s; Pendaren, 14s 6c; Cefn, 4c, Rymni (Seisnig), 1s 3c.—Cyfanswm, £9 14s 3c.

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 12.] MEHEFIN 12, 1852. [CYF. IV.


## COFNODION CYNGHOR CYFFREDINOL NEILLDUOL

*Prif Awdurdodau Cynnadleddau Prydeinig Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.*

[Parhad o dud. 177.]

### PRYDNAWN DYDD GWENER, EBRILL 9.

### ANERCHIAD OLAF Y LLYWYDD F. D. RICHARDS.

ANWYL FRODYR,—Yr wyf yn cyfodi o'ch blaen y prydnawn hwn mewn cryn wendid, i'ch anerch ynghylch sefyllfa y gwaith yn y Cynnadleddau Prydeinig, ac i gynnyg i'ch ystyriaeth y ddysgeidiaeth hono a ymddangoso i fod er daioni i chwi, ac a wasanaetho fel maen-brawf i chwi yn y Cynnadleddau dros y rhai y gelwir chwi i lywyddu. Mae gwaith Duw eisoes wedi cyrhaedd i sefyllfa o nerth a dylanwad yn y wlad hon, ac y mae, o flwyddyn i flwyddyn, yn cynnyddu ac yn ychwanegu, os nid gymmaint mewn rhifedi ac agwedd allanol, etto mae yn cynnyddu mewn golygiadau ereill, ac felly yn gofyn mwy o ddoethineb ac egni nâ phan yn ei fabandod. Mae dyn mewn un rhan o'i fywyd, weithiau yn tyfu i fyny yn dra main hyd nes y cyrhaeddo faintioli gwr, ac yna wedi y cyrhaeddo ffurf allanol neu ymddangosiad gwr, y mae yn dechreu tewhau, ac yn ennill y sylweddolrwydd hwnw ag sydd mor anghenrheidiol tuag at ymdrechiadau bywyd dyfodol. Pa beth bynag a fyddo ei fywyd tyfiadol, dylai gofal mawr gael ei gymmeryd yn ystod yr amser hwnw, rhag i'w gyfansoddiad corfforol gael ei niweidio. Y mae yn dra thebyg i hyny gyda gwaith Duw. Os sylwch ar y gwaith fel yr oedd yn

cynnyddu, ac yn dyfod i sylw y bobl, nis gallai bryd hyny gyflawni y gorchestion mawrion hyny, fel Cangenau ac fel Cynnadleddau, ag a gyflawnant yn bresennol. Y mae wedi bod am flynyddau ag ydynt wedi myned heibio yn byw tymmor ei dyfiad, ac o ganlyniad y mae wedi bod yn ieuanc a thyner, yn analluog i wrthsefyll yr ystormydd a llid y gelyn; yr hyn a ddengys yr anghenrheidrwydd o gynnyddu, megys ag y gwnaeth hyd yn hyn; ac yn awr dechreua dyfu a thewhau, nes dyfod yn gadarn fel y dderwen gref, ac yn alluog i wrthsefyll ystormydd a thymhestloedd y gelyn. Ni fydd rhyddhau y tir oddiamgylch y gwreiddiau ddim ond yn gwneyd i'r pren dyfu a ffynu yn helaethach. Ac y mae'r Eglwys hon wedi cyrhaedd tymmor pan ag y mae cyfnod newydd wedi dechreu, yr hyn a achosa i waith yr Arglwydd gymmeryd arno agwedd wahanol i'r hyn a gymmerodd hyd yma. Yr ydym wedi bod yn dysgu pethau ysbrydol; yn awr, y mae genym i ddysgu pethau tymmorol: a thra y byddom yn estyn pethau ysbrydol i'r byd fel o'r blaen, bydd genym i siarad mwy ynghylch pethau ysbrydol wrth y Saint. Rhaid i mi eich hysbysu fod y Saint yn y Dyffryn yn tyfu mwy nâ'r rhai hyny yn y wlad hon, gyda golwg ar deimlo dros y gwaith hwn, ac yr ydych chwi yn ei wybod, y cyfryw o honoch ag a fu yno o leiaf, canys y maent hwy yn llawn ysbryd a bywiogrwydd. Ac y mae eisieu, frodyr, dysgu rhywbeth i'r Saint yma, ag sydd yn anghenrheidiol iddynt, neu ynte ni fyddant yn addas i fyned yn uniongyrchol i gymdeithas y Saint yn y Dyffryn. Dichon y bydd y Llywyddiaeth (pan fyddo cwmpeini o Saint yn cyrhaedd y Dyffryn), yn gofyn pwy fu yn dysgu y Saint hyny? Y mae yn waith pwysig (a'i gyflawni yn ffyddlawn), i ddysgu a llywodraethu pobl Dduw. Ac megys ag yr wyf yn gwerthfawrogi fy sefyllfa, ac fel yr wyf yn teimlo dros yr eiddo chwithau, frodyr, y mae arnaf eisieu eich parotoi chwi i'r orphwysfa sydd yno i bobl Dduw. Os ydym yn cael ein bedyddio er maddeuant pechodau, y fynyd ag y byddom yn camu tuhwnt i'r cyfarwyddiadau a gawsom, i ddysgu y pethau hyny nas danfonwyd ni i'w dysgu, yr ydym yn rhodio ymaith yn gymhwys oddiwrth yr Arglwydd, a phob dydd yn rhodio yn mhellach pellach o'r llwybr dyledswydd, yn yr hwn yn unig y mae diogelwch. Rhaid i ni edrych ar ol ein gyrfa, a pheidio gadael ein hunain i gael ein harwain ymaith, eithr byw mewn llwyr ufydd-dod i ofynion y nefoedd, a glanhau

ein hunain o'r ffieidd-dra a'r llygredd hyny, trwy y rhai yr ymhalogodd y Cenedloedd, a pharotoi gogyfer â'r gogoniant hwnw ag sydd i blant Duw yn Seion.

Mae yn rhaid i chwi barhau o hyd i bregethu i'r byd ffydd, edifeirwch, a bedydd er maddeuant pechodau, a ffydd yn Joseph Smith a Brigham Young; ac yna rhoddi iddynt yr Ysbryd Glân; a pha fwyaf a barhewch o'r amser hwn allan i gyfranu i'r Saint yn y wlad hon yr ysbryd sydd yn Seion, mwyaf oll a gewch chwithau o hono eich hunain. A bron fel y byddoch chwi yn taenu yr ysbryd hwnw yn mhlith y bobl, y mwyhewch chwithau eich dylanwad a'ch gallu yn eu plith, a galluogir chwi i roddi y fath gynghorion i'r Saint ag a gynnydda eu ffydd yn fawr, ac a'u hadeilada yn ngwaith yr Arglwydd. Ac er na ddygwch gymmaint i mewn, etto chwi a effeithiwch gymmaint o ddaioni; canys bydd y rhai a ddeuant i mewn o'r iawn fath, a gwna un o honynt fwy tuag at adeiladu teyrnas Dduw, nâ dau o fath arall. Byddant wedi eu parotoi yn well i ddyoddef enllib a gwawd y byd, ac i dderbyn cyfarwyddiadau yr Offeiriadaeth, canys y mae gan ddynolryw gymmaint i ddysgu cyn y gallant weled Duw. Y mae y gwaith hwn, ac fe fydd hefyd, yn cario gydag ef faen tramgwydd; a pha fwyaf y byddo felly, mwyaf i gyd fydd gan feddyliau y bobl i ymeangu mewn cyferbyniad i nerth cynnyddol gwaith yr Arglwydd. Yn nyddiau yr Arglwydd, yr oedd gan yr Apostolion a'r bobl yn gyffredinol, i gredu mai yr Iesu oedd Mab Duw. Yn y dyddiau hyn, gofynir ganddynt i gredu, mewn ychwanegiad at hyny, i Joseph Smith fod yn Brophwyd i Dduw, ac hefyd fod Brigham Young yn brophwyd yn bresennol; ac y mae y ffydd hon yn anhebgorol.

(*Tw barhau.*)

---

## PENNILL.

O Arglwydd, rho dy Ysbryd,
Pan fyddom ger dy fron,
I weddio am fendithion
A'n gwna ni oll yn llon:
Gwna aros yn y canol,
A'th roddion gyda thi,
I dywallt i'n calonau,
'Nol ein hanghenion ni.

*Merthyr.* Elizabeth.

# TRAETHAWD AR DDYLEDSWYDD RHIENI TUAG AT EU PLANT.*

"Hyffordda blentyn yn mhen ei ffordd, a phan heneiddio nid ymedy â hi,"—SELYF DDOETH.

HYNAWS RIENI,—Nodaf yn fyr rai o'ch dyledswyddau tuag at eich plant, o barth i'r pethau a berthynant i'r byd a'r bywyd hwn, ac ychydig er parotoi i fyned i fyd arall. "A'r neb a ddarlleno, ystyried," a barned yn bwyllog bob peth.

Y ddyledswydd gyntaf a ddygaf gerbron yw, y dylech ofalu eu bod yn cael digonedd ac amrywiaeth o ymborth glân ac iachus, a hyny bob amser ag y byddo natur yn galw am dano: hefyd, fod pob syberwyd, symlrwydd, a dystawrwydd bob amser ag y byddont y cyfranogi o hono wrth y bwrdd.

2. Glendid: dylech ofalu eu bod bob amser yn lanwedd, fod eu gwynebau, eu dwylaw, a'u holl gyrff yn lân, yn neillduol pan yn cyfranogi o anghenrheidiau natur.

3. Dylech roddi am eich plant wisgoedd cynhesion, rhag iddynt gael anwyd (yr hwn ydyw achos y rhan fwyaf o'n clefydau), ac na byddo llyngyr yn cael llechu yn hir yn eu cyfansoddiadau, rhag nychdod ac eiddilwch, ac i lawer o drafferthion a chostiau ganlyn.

4. Dylech eu caru a'u parchu megys rhoddion y Goruchaf, a gofalu rhag iddynt gael ofnau pan yn ieuainc; canys achosodd ofnau i lawer fod yn fudion.

5. Dylech ofalu na fyddo eich plant yn dilyn cwmnïaeth ddrwg; oblegid y cyfryw a lygra foesau da, nad pa mor ddyfnion eu hargraffir ynddynt.

6. Dylech ofalu na fyddo eich plant yn cael rhyddid i ddweyd anwiredd wrth neb, na thwyllo neb mewn dim; ac na fyddont yn dafodrydd, trwy dyngu, rhegu, na chablu; ac na ddynwaredont neb, mewn geiriau, ystumiau, na gweithredoedd.

7. Dylech wylied na fyddont yn euog o'r hyn a elwir yn gyffredin, "erlid clecs," a thrwy hyny yru cynhen rhwng cymmydogion.

8. Dylech wylied na fyddo eich plant yn mynych gyrchu i dai cymmydogion, heb neges; yn neillduol pan y byddont ar eu

* Cafodd y traethawd hwn ei yru i Eisteddfod y Cymmar, ac ar ddymuniad yr awdwr, gyrwyd ef i ni i'w gyhoeddi.—GOL.

prydiau bwydydd, neu fod ymwelwyr neu ddyeithriaid yn dygwydd bod yn y cyfryw dai.

9. Dylech ofalu na fyddo eich plant yn myned i gaeau, perllanau, gerddi, nac o flaen drysau neb i chwarae a chadw ystŵr.

10. Dylech gofio eu holi pan wedi bod oddi cartref yn hir, pa le, a chyda pwy y buasent wedi treulio eu hamser felly?

11. Dylech ofalu na fyddo eich plant yn gwario eich arian ar oferedd, na rhodio yn feilchion a phen uchel, yn ol eu mympwy eu hunain.

12. Dylech eu hattal i ymarfel â phethau diles; megys myglys, trewlwch, &c., a llawer o ddiodydd, a gwirodydd poethion, &c.

13. Dylech eu rhwystro i ddweyd, "Na, na" (h.y. na wnaf), na'ch gwrth-ddywedyd mewn dim, na neb ereill ychwaith, a fyddo yn hynach na hwy; oblegid y mae yn wrthun ac yn afresymol iawn.

14. Dylech eu ceryddu pan fyddo anghen am hyny; ond nid *addaw* a pheidio talu yr adduned, cofiwch, na thalu yn rhywfodd, nac yn rhanol ychwaith; nid trwy eu troedio, tynu eu gwalltau, eu cernodio â dwrn neu law, neu'r peth nesaf i law; nac un amser mewn ysbryd cyffrous (natur wyllt), ond cymmeryd gwialen fedw, mewn ysbryd tawel, a gofalu cyn curo, fod y dyoddefydd yn deall i bwrpas am ba beth ei ceryddir, yna ei guro; ond nid ar ei ben na'i wyneb, na'i ddwylaw, na'i draed ychwaith, eithr ar ei gefn ("gwialen cerydd i gefn yr ynfyd)," a hyny hyd oni addunedo beidio gwneyd y cyfryw ddrwg am ba un ei ceryddir mwyach. "Y mae ffolineb," medd Solomon, "yn rhwym yn nghalon plentyn; ond gwialen cerydd a'i gŷr yn mhell oddi wrtho."

15. Dylech chwi, y fam, ofalu na fynwesoch y dyoddefydd pan y ceryddir ef gan ei dad; os dywedwch ond gair bach y pryd hwn, yn bleidiol iddo, bydd y cerydd yn hollol ddiles, ni wna ond ei galedi, a'i yru i ddigio wrth ei dad; gan hyny, cyn curo, cydunwch â'ch gilydd.

16. Dywed 1 Sam. v, 13—14, fod "melldith Duw ar dŷ Eli, am na waharddodd i'w blant wneuthur yr hyn oedd yn ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd." Cofiwch nad oes un atalfa ar ei ffordd i wneuthur felly etto, yn y dyddiau hyn; ond gan nad beth am y felldith, hyn a wn, y daw i'r esgeuluswyr o hyn, gywilydd, tristwch, a dymuniadau na baent wedi eu claddu pan yn ieuainc.

Gyrwyd llawer o famau tynerion i'r beddau cyn eu hamser, o herwydd drygedd eu plant.

17. Y fantais gyssylltiedig â gwahardd y plant i wneuthur drygioni, a'u ceryddu yn ddyladwy: ennillant iddynt eu hunain lonyddwch a llawenydd, hyfrydwch a gorfoledd; gallant ddywedyd fel Israel gynt, "Ein plant yw ein gogoniant." Gallant fod yn offerynau yn llaw y Goruchaf i achub eu plant i fywyd tragywyddol; ac yn y farn gallant roddi eu cyfrif yn llawen, ac O mor ddedwydd fydd hyny!

18. Dylech fod yn dyner wrth eich plant, a pheidio eu gyru i ddigio. "Wel," medd rhywun, "pa fodd yn y byd y gallaf geryddu fy mhlant, ac heb eu digio? y mae fy mhlant i yn digio ac yn fy nyfenwi, pan eu ceryddaf." Dichon eu bod, ond cymmer gynghor: y tro nesaf, cymmer ofal ar fod dy eiriau a'th resymau yn cael cymmaint o argraff ar galon y dyoddefydd, ag a gaiff y wialen ar ei gefn, yna ni ddigia er ei guro yn dost.

19. Dylech ofalu na fyddo eich plant yn cael tyfu i fyny yn segur a diffrwyth; oblegid anhawdd plygu y rhai a gyfodir felly i unrhyw waith na masgnach.

20. Dylech ofalu na roddoch esiamplau drygionus o flaen eich plant. Os clyw yr eneth fach ei mam yn dweyd anwiredd, trwy ei gwybodaeth, hithau a ddysg; os lladrata y fam rywbeth, ond odid na wna y ferch hefyd pan ddêl trachwant. Felly hefyd, os arfera y tad yfed a meddwi, tyngu a rhegu, &c., tebyg, tebyg mai ei fab fydd ei ail; oblegid mae y traed a'r dwylaw yn pregethu yn uwch ac effeithiolach nâ'r tafod; gan hyny, os caiff y plant esiamplau drygionus o'u blaenau, bydd yr holl gynghori, ceryddu, &c., i gyd yn ofer a diles.

21. Dywed y Testament Newydd y dylai y rhieni gasglu trysor i'r plant, ac nid y plant i'r rhieni; ond y mae hyn yn orchwyl go anhawdd y dyddiau hyn, oblegid y mae y byd oll braidd o chwith: y mae Mr. Gwrthwynebwr a'i dylwyth yn haeru mai eiddynt hwy ydyw y llywodraeth; ac yn wir, llwyddasant yn rhyfedd, dygasant ddyn i sefyllfa isel, a'r creadur yntau hefyd, i gyd-ocheneidio, ac i ddysgwyl am ddadguddiad meibion Duw; brysied y dydd.

Etto, nid digon ydyw attal y plant i wneuthur yr hyn sydd ddrygionus ac anweddaidd; ond y mae yn ddyledswydd arnoch i ddysgu moesau da iddynt, a hyny mor fuan ag y delont i ddeall ac amgyffred, yr hyn a ddysgir iddynt.

1. Ni raid i mi ddywedyd ei fod yn ddyledswydd arnoch eu dysgu i lefaru, oblegid eich parodrwydd oll i hyn; ond dylech eu dysgu i fod yn ddystaw bob amser ag y byddoch chwi, neu ryw rai ereill yn llefaru yn barod. Anweddaidd (i'm golwg i) yw fod plant â'u cegau yn agored yr un pryd â'u rhieni. Wel, dysgwch hwy, ynte, i fod bob amser yn astud i wrandaw, ond yn ddiog i lefaru.

2. Dylech eu dysgu i fod yn hollol ufydd bob amser, ac i fod yn barod i wneuthur pob peth ar y cais cyntaf, yn ddi-rwgnach a di-nâg. Cofied y neb rhieni bynag sydd yn gorfod dywedyd ddwy waith wrth eu plant am wneuthur yr un peth, eu bod wedi anghofio neu esgeuluso geiriau'r testun, "Hyfforddа blentyn," &c.

3. Dylech eu dysgu i gyfarch pawb a gwrddant yn serchus, â boreu, dydd, neu nos da'wch.

4. Dylech eu dysgu i ddod yn ol o'u negesau yn fuan, ac i gofio am bob peth fel eu gorchymynwyd; hefyd, i beidio sefyllan mewn pyrth neu fynedfeydd lle y mynych dramwyir; ac i gau y drysau, a'r clwydydd a gaffont felly.

5. Dylech eu dysgu i ofalu yn flaenaf a phenaf am eu gorchwylion eu hunain, heb ymyraeth â materion ereill, na holi na chwestiyno neb am bethau di-bwys.

6. Dylech eu dysgu i ddweyd y gwir wrth bawb bob amser; ond nid gwirio trwy lŵ, bethau di-bwys. Y mae *ie*, a *nage*; *do*, a *naddo*, yn ddigon heb gyssylltu, *yn wir*, *ar f'enaid*, *mŷn Duw*, wrth bob gair. Y mae wedi goleuo ychydig erbyn hyn, ac yn agos dydd; gan hyny, gyrer y llwon uchod a'u cyffelyb, i'r tywyllwch, o ba le y daethant; a boed i ni fwyniant o freiniau plant y dydd, heb gymmysg o gynnyrchion y tywyllwch dudew.

7. Dylech eu dysgu, a'u harfer, i fod yn onest tuag at bawb bob amser.

8. Dylech osod eich plant mewn ysgolion i ddysgu darllen ac ysgrifenu, Cymraeg a Saesneg o leiaf; a goreu oll fyddai iddynt ddysgu cynnwysiad y Gramadegau, &c., os bydd hyny yn naturiol iddynt.

Etto, er gwrthod drygau, ymarfer moesau da, nis gellir byw ar hyny, ond rhaid cael rhyw alwad neu gelfyddyd; ac nid ydyw pethau felly yn disgyn o'r nef yn dalpiau i blant na dynion, ond rhaid eu dysgu o ychydig i ychydig. Felly, ynte, dylech chwi, rieni, ddysgu eich plant; a chyn anturio i osod eich plant mewn

ysgolion, neu eu prentisio i ddysgu rhyw gelfyddydau, da fyddai i chwi wybod eu tueddiadau, yr hyn a ddywed y rhai sydd yn gwybod y wyddor o ymenyddeg (*phrenology*) ; efelly, y sawl na ŵyr y wyddor hon yn eich mysg chwi dadau, mynwch wybod gan y rhai â ŵyr, cyn gosod eich plant i ddysgu unrhyw alwedigaethau ; cyst hyny lai i chwi, na chosti eich plant i ddysgu yr hyn bethau nad oes ynddynt un tuedd naturiol.

Costiodd plant llawer yn ddrud iddynt i ddysgu celfyddydau ; ond wedi yr holl gostau, aeth y cyfan yn ofer, o herwydd "trech anian na dysg." Gwelwyd rhai gofiaid, seiri pren a maen, masgnachwyr, cyfreithwyr, pregethwyr, ac offeiriaid, &c., y naill yn hwsmon, a'r llall yn eurych, y naill yn gwicwr (*pedler*), a'r llall yn fwnwr, neu löwr, a thyna y pethau a fynant fod, er gwybod a medru gwell, ac uwch galwedigaethau ; o ganlyniad, gwell i bawb rhieni wybod holl dueddiadau naturiol eu plant yn gyntaf, cyn eu gosod i ddysgu un math o alwedigaethau ; ac wrth eu dysgu i wneuthur yr hyn sydd yn naturiol iddynt, hwy a ddysgant yn gynt, wrth lai o gostau, ac hefyd hi a etyb y dyben.

Etto, yn mhellach, er gwrthod pethau drygionus a llygredig, ymarfer moesau da, dysgu byw yn y byd hwn, nid ydyw hyn oll ddim yn ddigon, oblegid y mae byd ar ol hwn, a rhaid i ni fyw yno hefyd. Gan hyny, rhaid i ni barotoi ein hunain, a'n plant hefyd, er myned yno. Fe elwir y parotoad hwn yn *grefydd*; felly, dylech chwi rieni ddysgu eich plant i fod yn grefyddol.

Y mae achubiaeth eneidiau eich plant i fywyd tragywyddol, yn gorphwys i raddau pell arnoch chwi rieni. Dyry Solomon yr addewid y bydd i'r plentyn a hyfforddir yn mhen ei ffordd, beidio ymadael â hi.

Hefyd, yr oedd yn arferiad yn mysg yr hen dduwiolion gynt, i ddysgu eu plant i fod yn grefyddol. "Mi a'i hadwaen ef (meddai y Goruchaf am Abraham), y gorchymyn efe i'w blant, ac i'w dylwyth ar ei ol, gadw o honynt ffyrdd yr Arglwydd, gan wneuthur cyfiawnder a barn."

Cawn hefyd fod hyn yn orchymynedig iddynt yn Deut. iv, 9. Efelly, gwelwn ei bod yn ddyledswydd arbenig ar bawb yn Israel ei chyflawni.

Hefyd, nid ydym ninnau, dan oruchwyliaeth y Testament Newydd, yn ol o gael cyffelyb orchymyn, trwy enau Paul yn Eph. vi, 4, "Chwithau dadau (medd efe), na yrwch eich plant i ddigio;

ond maethwch hwynt yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd."

Y neb a sylwo ar y dyfyniadau uchod, a wêl am ffordd yr Arglwydd, mai *un* ydyw; Athrawiaeth yr Arglwydd, *un* ydyw; ond ffyrdd dynion, *llawer* ydynt, a'u hathrawiaethau fel gwallt eu penau mewn amledd.

Yn awr, heb ymhelaethu ar y pethau hyn, o herwydd eu bod yn bethau dadleuol, terfynaf trwy roddi gair o gynghor i bawb rhieni, i ddarllen llawer ar y Beibl, ac ystyried yn sobr beth a ddywed ef am y rhai gynt, beth oeddynt hwy yn broffesu? beth a fwynhaent oddiwrth fod yn grefyddol? Y pethau hyny a ddysgasant i'w plant, wrth gwrs. Dywed yr ysgrythyr, y "crybwyllasent am danynt, pan eisteddent yn eu tai, pan rodient ar y ffordd, pan orweddent i lawr, a phan godent i fyny." A thrwy wneuthur felly, ennillasant iddynt eu hunain enwau da, ac anrhydedd, a bywyd tragywyddol yn dâl yn y diwedd; ac y mae eu hanes wedi ei gadw, eu rhinweddau wedi eu nodi er esiampl i ni, fel y canlynem eu holau. Gan hyny, anwyl Gymry, gwnawn ninnau oll yr un modd, fel yr etifeddom yr unrhyw freiniau.

Yn awr, rhaid terfynu, oblegid "nid da gormod o ddim," nac *am ddim*.

Yr eiddoch yn ffyddlon,

ABWYDYN (*sef John Richards, Dinas*).

---

## CAM-GYHUDDWYR Y SAINT.

MAE yn gof gan ein darllenwyr am y llythyron hyny a yrwyd yn ddiweddar gan ddau Gymro o St. Louis, yn cam-gyhuddo y Saint o angharedigrwydd, twyll, aml-wreigiaeth, &c., yr hyn a gyhoeddwyd trwy holl bapyrau y wlad. Yn awr, mae y llythyr canlynol yn dynoethi y cyfan; ac yr ydym yn ei adael heb ei gyfieithu, er mwyn i'r Saint ei ddangos i'r personau oedd yn darllen newyddiaduron Seisnig. Danfonasom gopi o hono i'r "Cardiff and Merthyr Guardian," ac hefyd i'r "Welshman." Y llythyr sydd fel y canlyna:—

Rolling Mill, Bremen, St. Louis, May 3, 1852.

DEAR BROTHER DAVIS,—I feel strongly impulsed to write a few lines to you, in order to inforn you of the true state of affairs

in this city. Through the kindness of some of our friends at Aberdare, we hear of several false and erronious impressions, which the people in general have (at Merthyr and Aberdare), relative to the Mormons in this city, caused doubtlessly by the false and malicious statements of apostates.

Brother Richard Palmer received a "Cardiff and Merthyr Guardian," lately from his father, in which I saw a letter from Wm. Davies (Abercarn) and Evan Howell, now residing near St. Louis. I was truly disgusted with its contents, and I fearlessly assert that it is nothing but false and exaggerated accounts, which could not emanate from none but wicked, designing apostates, infuriated by their deep-rooted hatred to the Mormons.

They (Wm. Davies and E. Howell) state that the Saints are very unkind to each other here, and that they have been very unkind to *them*, &c. This statement I boldly deny; and to the reverse, I say that the Mormons have been *very kind* to them (considering circumstances), especially to Wm. Davies; and nothing but ingratitude of the blackest kind, could have obliterated from their memory the obligation they are under, even to the Mormons.

In order that you may *know* these men, I shall relate how they became so exasperated against the Mormons; and I shall also exemplify a little of the "unkindness" of the Mormons to them.

Wm. Davies and E. Howell joined the Saints a week or two before they left Wales. Davies had been a Mormon before that, but by some means or other he got cut out of the Church. After we entered the ship in Liverpool, we had to wait a day or two in the river Mersey, in order to have a fair wind to take us on. While we were there, Wm. Davies fell into a great rage, because the provisions were not distributed (according to his ideas) fairly, or at least quick enough : his rage was so unbounded that he really had the appearance of a madman; he cursed and swore most terrible, and used the most obscene language, calling Orson Pratt and others the most infamous names. His eyes fairly appeared to start from their sockets with the intensity of his passions. He had all his boxes, &c., lowered to a boat, and ordered his trembling wife and children unto the same, and payed the waterman to take him ashore, which he did ; but as they reached the shore, Davies's paroxism having subsided by this time, he repented of what he was doing, and he desired the waterman to row him back to the vessel again!

All this passed by, and the Saints were counselled to be careful and kind to him, for we all looked on him as a man who could not bridle his passions, and we all felt pity and commiseration for him, considering it a peculiar failing in his nature.

Throughout the length of our voyage to New Orleans, we had great trouble in cooking our food, the galley not being big enough to cook for so many; consequently, each family had to cook in

their turn, which was only twice a day: but for fear of offending Wm. Davies, and causing another disturbance, we all consented to give him the privilege to cook whenever he liked.

Davies continued to be very outrageous and unruly, and having some influence over Evan Howell, he soon led him astray also, Evan being naturally of a weak mind, and as ignorant as he was weak. These two were cut out of the church, in a public meeting one Sunday morning, on bourd ship, for their misconduct.

When we arrived in New Orleans, there were several of the Brethren, who had not sufficient money to take them up the river to St. Louis; consequently, they must have had to abide in New Orleans, had not the charity and kindness of the Saints provided for them. They made a collection before we arrived in New Orleans for the poor, in order to defray their expenses up the river; thus they gave the chance to all the passengers (rich and poor) to go as far as St. Louis, New Orleans being a very unhealthy place, and by far too hot a climate for Europians. Wm. Davies was one of the number who had not enough of money to take himself and family up to St. Louis; well, we offered money to him, that he might come along with us; but I suppose that he was ashamed to receive so much kindness from those whom he had abused so much. So he stayed in New Orleans; and while there he was taken very sick, and almost lost his life through his timerity: he also buried his youngest child while there; and having got means some how, he embarked from there to St. Louis. While on the river, his wife was taken severely in the Cholera, and in this state they arrived here; and undoubtedly they must have had to go to the hospital, or poorhouse, had it not been for the *kindness* of Brother John Phillips, of Pont-y-pridd, who took them (sick as they were) unto his house, and provided them with food, and found William work; and in all he proved to him *kinder* than y brother. But Davies soon forgot this; and because John was favouring and defending the Saints, he (Davies) threatened to give him a thrashing, not long after this. So you see a few specimens of the *unkindness* of the Saints to him.

E. Howell came up with us from New Orleans; and when he arrived here, he was taken with the Welsh Saints over to the Illinois coal diggings, where they found work for him and several of us strangers; they also helped them to remove their luggages. Evan says in his letter, that he had to dig his own wife's grave; this, undoubtedly, is true: but we must consider circumstances before we impute this as unkindness in the Saints. The Illinois coal diggings is an exceedingly unhealthy place in the summer, and it was to an *unusual extent* last summer; and when Evan's wife died, I don't think there was one of the Saints there but what was sick with the ague, and he being *well*, there was no one more fit to do it; besides, they did not reside in the immediate

vicinity of the Saints, and they might have died all without their knowledge.

But Evan Howell did not state in his letter that his wife was over here in Missouri, staying a month in one of the Saints's houses, on purpose to change the air; he also forgot to state that poor Rachel Price (of Cwmbach) laid his wife out when dead, when she (Rachel), was unable to stand on her feet with sickness, caused by the ague.

But just for an illustration to the fact that the Saints in St. Louis are really kind to one another, I shall only state that over 2000 dollars were distributed amongst the poor in St. Louis the last twelve months, as reported at our last General Conference.

The letter also states that the Saints, ere they leave Wales for this country, are promised some land "*gratis*" in St. Louis. This assertion of his I need not deny, only merely state that it betrays his ignorance and a certainty that all that believe him have nothing on their shoulders but a wooden head!

Evan states that Brigham Young has twenty-four wives. I wonder how he (Evan) found out the definite number, for it has been rumoured here that he has about ninety; some say fifty, and others thirty, varying from ninety down to a cypher. And a respectable looking Welshman called lately on us, stating that he came from California through the Valley, and that while there he saw Mr. Young, and he had *two* wives; so I cannot think what foundation E. H. had to state that he (Brigham) had twenty-four. He had no foundation, only his desire to do harm to the cause in Wales; for I got so firm a foundation to say that he has no more than one, as he has got to say that he got twenty-four, for we are over a thousand miles distance from the Valley, consequently we know as little about it as you do in Wales. He also states that about 200 of the Saints that came along with us in the "Ellen Maria," are dead: this is a most swollen exaggeration, for if he had said thirty, I would believe him to be over the mark.

His stating that the *heads* of the Church in St. Louis go out on the Sabbath a shooting, &c., is, in fact, nothing else but a falsehood. But he might have seen some of the "Jack" Mormons, who are neither Saints nor Gentiles; for it is a general practice in St. Louis for people to go a shooting, fishing, &c., on a Sunday. I would have noticed some other statements of Evan Howell's, only that this sheet again is full; and I am afraid that it will not be intelligible to you. Please to give my love to all the Saints, especially to those of Aberdare, Cwmbach, Merthyr, and Pendaren, not forgetting your consort and yourself.

Your affectionate brother in the everlasting covenant.

ALFRED J. WOOD.

P.S.—If any body should inquire about us, say that we are quite well, and that I am delighted with this country, especially in

this season of the year, and that I rather live here than in Aberdare.

I must say that Wm. Davies has told me that he only joined the Saint this last time on purpose to have his passage cheaper to America than he otherwise would.

If *any body* should like to hear further from me, I will answer any inquiries, relative to this country, and relative to the Saints; let them write, and I will answer them. My adress is, " Alfred J. Wood, Rolling Mill, Bremen, St. Louis, Mo., N. America."

---

## Y CLEFYD MELYN,

### NEU YSFA AM AUR AWSTRALIA.

Mr. Gol.,—Y mae y clefyd hwn, fel y gwyddoch, yn ddrwg, ac yn wreiddyn pob drwg; ac felly yn sicr o fod yn farwol; ac fel y mae yn ddrwg genyf eich hysbysu, fod amryw wedi eu cymmeryd yn gleifion o'r clefyd hwn yn yr ardaloedd hyn, ac y mae yn *getching*; gan hyny, y mae perygl i rai o'r Saint ei gael; o ba herwydd trefnais y cyfarwyddyd canlynol o feddyginiaeth, i'r neb a glywo yr ysfa yn dyfod yn agos i sefyllfan ei galon.

Dichon nad ydyw pawb yn adnabod y llysiau y cyfeiriaf atynt; gan hyny, gosodaf ychydig nodiadau i lawr yn gyssylltiedig â'u henwau.

Rhodder i'r claf hanner dram o'r llysieuyn a elwir " Rhwd aur;" y mae yn tyfu ar dir sych diffrwyth, rhy ddiffrwyth braidd i ddim arall dyfu arno; a dram o'r llysiau a elwir " Gwaeau y Cyfoethogion;" er dyfod i feddiant o hwn, cymmerwch yspectal yr hen Fathew gynt, ac edrychwch yn union o'ch blaen, a chewch eu gweled yn tyfu ar gefnau Ananias a Sapheira, a Demas, ac ereill liaws, heb eu henwi. Malwch yn llwch hanner wns o wraidd y llysieuyn rhinweddol a elwir " Lles aur i'r meirw." Y mae hwnw yn tyfu o amgylch tai boneddigion, ac yn blodeuo yn y fan y byddo'r boneddwr farw, felly hawdd ei adwaen.

Etto, cymmerer wns a hanner o nodd y peraroglyn hoenus hwnw a elwir " Boddlonrwydd ;" y mae hwn bob amser yn tyfu ar dir da. Y mae arogl hwn yn anmhrisiadwy; ond gwell mwynhau o'r nodd.

Etto, dram o flawd " Gobaith." Gofalwch wrth gasglu y llysieuyn hwn, oblegid mae dau fath o honynt; tyf yr un drwg ar hen foncyffion diffrwyth anwybodaeth; ond tyf yr un da ar y

graig a elwir "Sicrwydd." Cymmysgwch y cyffeiriau uchod oll, a gwnewch yn belenau o faintioli pys cyffredin. Ac er bod yn gwbl iach, rhaid cymmeryd tair neu bedair o'r rhai hyn bob dydd, a gofaler yn gyntaf oll, fod yn rhaid cael gronyn bach o'r llysieuyn a elwir "Ffydd," (un o'r hadau, cofier); hawdd adnabod hwn, oblegid y mae ef yn tyfu a'i frig i lawr, a'i wraidd i fyny. Llyncwch un o'r hadau er mwyn agor y ffordd i'r *pills* fyned dan wraidd y drwg i'r galon.

Yn awr, ddarllenydd ti a wyddost nad oes neb meddygon yn gwella y cleifion heb gymmeryd eu cyffeiriau, felly finnau gyda y rhai hyn; ond y mae edrych a meddwl yn ddifrifol am y llysiau tra rhagorol hyn, yn sicr o esmwythâu ychydig ar y claf. Etto, y mae pawb am feddyginiaeth rád; wel, dyma *bills* heb ddim *duty*, prynwch heb arian ac heb werth.

Yr eiddoch yn ffyddlon,

*Graig-ddu.* JOHN RICHARDS.

---

## LLYTHYR O'R GOGLEDD.

MR. GOL.,—Byddwch gystal â chyhoeddi y llythyr canlynol yn yr UDGORN. Dichon y bydd er lles i lawer, er creu ynddynt ymddygiadau amgenach.

"St. George, Mai 20, 1852.

"Anwyl Lywydd W. S. Phillips,—Yr wyf yn gyru hyn o lythyr atoch, gan eich hysbysu fy mod wedi bod yn Nghymmanfa Sir Fflint y Sul diweddaf. Cawsom gymmanfa dda iawn, yn yr hon y cadarnhawyd dwy chwaer, ac yr ordeiniwyd un offeiriad. Mae y swyddogion mewn gwell undeb nag y gwelais hwynt erioed o'r blaen o lawer, ac yn penderfynu gosod pob mesurau mewn gweithrediad.

"Maent yn llwyddo hefyd yn well nag y buont er ys tro. Yr oeddynt yn pregethu allan o fewn y pythefnos diweddaf yn agos i Wrexham; a daeth y Methodistiaid yno i ganu, i'r dyben o'u rhwystro; a daeth pobl ddigrefydd yno hefyd gyda wyau clwc er eu taflu at y Saint. Ond wrth daflu y wyau clwc, tarawodd un o honynt yn erbyn talcen un o'r Methodistiaid, yr hwn a aeth i ymgyfreithio â'r lleill o'r herwydd. Ar ol myned i'r llys, gofynwyd i'r Methodist gan y barnwr, paham yr oedd yn aflonyddu y Saint? a dywedodd ei fod wedi cael ei serfio yn *right*, a bod gan y Saint awdurdod i bregethu a chael llonydd, yn gystal â rhyw enwad arall.

"Buont hwy, yngbyd ag enwadau ereill yn foddion i'n hattal i

gael ystafelloedd, er bod y Brawd William Parry wedi cymmeryd rhai i gynnal y Gymanfa, trwy iddynt fyned at y Stewardiaid; ond wedi y cyfan, cawsom dŷ gwag helaeth, ac atebodd y dyben yn rhagorol, a phregethasom allan i gynnulleidfa fawr o bobl.

"Ydwyf, eich brawd, yn yr Efengyl,

"JOHN PARRY."

**Mae y Methodistiaid wedi bod yn dangos eu castiau er ys rhai blynyddoedd, yn y gogledd, ac hefyd yn y Deheudir, sef trwy ddyfod i ganu i gyfarfodydd y Saint, i'r dyben o'u hattal i gynnal eu cyfarfodydd. Er cywilydd i'r Methodistiaid yr ydym yn dywedyd hyn: gobeithio y bydd y tro hwn yn rhybydd trwy y wlad, rhag ofn i fobl ddigrefydd ddyfod atynt gyda wyau clwc; ac yr wyf yn meddwl y byddaf yn y teimladau hyny ag y gallaf waeddi, Amen, pan glywaf y newydd.**

**W. S. PHILLIPS.**

**14, Castle St., Merthyr Tydfil.**

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

SWYDDOGION UTAH.—Mae Orson Hyde (Mormon) wedi ei enwi i'r Senedd gan y Llywydd, fel Barnwr cydweinyddol yn Nhiriogaeth Utah, yn lle Brocchus, yr hwn a roddodd ei swydd i fyny; ac y mae Mr. Willard Richards (Mormon), wedi ei enwi yn Ysgrifenydd i Utah, yn lle Harris. Rhoddodd y Barnwr Brandebury, o Utah, ei swydd i fyny ddoe (Mai 7). Nid ydym yn gwybod etto pwy fydd ei ddilynydd ef.—*New York Tribune.*

NEWYDDION O UTAH.—Mae newyddion diweddar a dyddorawl o Utah i'w gweled mewn colofn arall. Ymddengys fod y Mormoniaid yn myned yn mlaen yn llawen a llwyddiannus. Mae Brigham Young, pen yr Eglwys a'r Diriogaeth, yn resiadwr (*tactician*) rhyfeddol o dda. Pa beth bynag a ddywedir yn erbyn ei athrawiaethau ysbrydol, mae yn ddiau fod rhai o'i athrawiaethau daearol yn neillduol o dda. Y mae efe yn weithiwr—yn feddyliol, a chorfforol ac nis gall neb o'u ffydd ef fyw dan ei lywodraeth, os na lafuriant am eu bara.—*New York Herald.*

SOMNIANT.—Mae y rhai fu yn dymuno llwyr ddinystr tiriogaeth y Saint wedi cael eu siomi yn ddirfawr, hyd at ddystawrwydd. Yn lle cael milwyr i'w dyfetha, mae y Saint wedi cael Barnwyr o blith eu brodyr: ac y mae'r "barnwyr anghyfiawn" hyny a chwennychent ddarostwng y Saint, wedi darostwng eu hunain, ac wedi cael eu hanghymmeradwyo yn fawr.

DAEARGRYN.—Am ychydig cyn wyth o'r gloch, ar foreu y dydd laf o Fehefin, teimlasom ni a'r rhan fwyaf o drigolion

Merthyr, ysgydwad daeargryn am yspaid hanner mynyd, neu ragor, yr hyn a berodd ddychryn nid bychan i lawer. Yr oedd swn rhyfedd hefyd yn dilyn yr ysgydwad. Nid oes hanes am un niwed, serch fod yr ysgwydiadau yn lled rymus; ie, mor rymus nes y meddyliem fod ein swyddfa yn dyfod i lawr.

AM bob peth a brynoch, a werthwch, neu a hurioch, gwnewch gytundeb têg a chywir yn mlaen llaw; ac nac esgeuluswch hyny trwy glywed neb yn dywedyd wrthych, " Ni fydd i ni anghytuno ynghylch pethau bychain a dibwys."

NIS dichon dyn feddiannu dim ag sydd yn well nâ gwraig dda; na dim ag sydd yn waeth nâ gwraig ddrwg.

Os mai segurdod yw gwreiddyn pob drwg, yna y mae priodas yn werth rhywbeth, canys y mae yn gosod llawer gwraig dlawd i weithio.

YMFUDO.—Ni fydd un llongaid o Saint i Ymfudo oddiyma cyn mis Ionawr nesaf. Cofied pawb am hyn, fel na byddo eisieu holi yn mhellach.

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir Cymmanfa Sir Frycheiniog, yn Aberhonddi, ar y 27ain o Fehefin; Sir Fynwy, yn Nhredegar, ar y 4ydd o Orphenaf; Dwyreiniol Morganwg, yn Merthyr, ar y 11eg; Gorllewin Morganwg, yn Abertawy, ar y 18fed; Llanelli, yn Llanelli, ar y 25ain; Caerfyrddin, yn Nghaerfyrddin, ar y 1af o Awst; Sir Aberteifi, ar yr 8fed; Gogledd Penfro, ar y 15fed; a Deau Penfro, ar y 22ain.

---

☞ TRAETHODAU AR WYRTHIAU.—Bydd yr Ail Rifyn neu Draethawd yn dyfod allan gyda'r UDGORN hwn. Y mae y galwad am y Traethodau hyn yn fwy nâ'n dysgwyliadau, ac y mae'r brodyr braidd yn gyffredinol yn haeddu eu canmawl. Gwyddom am un gangen a werthodd 300 o honynt mewn un cyfarfod; a derbyniasom ninnau yr arian dranoeth.

☞ Cofier fod y tanysgrifiadau at y Drysorfa Ymfudol i gael eu talu i'r Llywydd Phillips erbyn y 24ain o'r mis hwn.

☞ Dymuna y brawd Richard Morris ar y Saint sydd yn dyfod â llyfrau ato ef i'w rhwymo, am beidio bod yn hir heb ddanfon am danynt.

TALIADAU O MAI 27 HYD MEH. 9.—Sir Fynwy, £2; Sir Aberteifi, £2; Gorllewin Morganwg, £2; Sir Fflint, £1; Pontypridd, £1 4s 2c; Llanfabon 6s 5½c; Cwmbach, 1s 2½c; Aberamman, £1; Dowlais, 4s 4c; Hirwaen, 4s; Merthyr, £1 1s; Pendaren, 7s; Cefn, 17s:—Cyfanswm, £12 5s 2c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAAIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 13.] MEHEFIN 26, 1852. [CYF. IV.

## COFNODION CYNGHOR CYFFREDINOL NEILLDUOL

*Prif Awdurdodau Cynnadleddau Prydeinig Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.*

[Parhad o dud. 183.]

### ANERCHIAD OLAF Y LLYWYDD F. D. RICHARDS (PARHAD).

YR oedd gan yr Apostolion gynt lawer o bethau i ymdrechu yn eu herbyn, o herwydd eu galwedigaeth; ac felly y mae yn awr; y mae genym ninnau lawer i'w ddyoddef, a llawer o bethau i'w cyfarfod. Fel ag y mae egwyddorion gwirionedd yn dyfod yn fwy grymus a dysclaer, y mae mwy o feini tramgwydd ar y ffordd; ac felly y bydd ar hyd yr holl daith. Ac fel y byddai fy olynydd yn fwy galluog i afaelu mewn materion, a chario allan yn gywir bob mesurau er helaethu achos Duw, mi a'ch gelwais chwi ynghyd er rhoddi i chwi rai cyfarwyddiadau mewn perthynas i'ch dyledswyddau a'ch gwaith dyfodol.

Yn gymmaint ag mai chwi yw y penaethiaid, dymunwn arnoch i fod yn dra gofalus pwy a fyddoch yn alw i'r Offeiriadaeth. Na alwch y rhai hyny y byddo eu hamgylchiadau yn rhwystro iddynt fod yn ddefnyddiol; eithr galwch y cyfryw ag a fyddont o wasanaeth i'r Eglwysi yn y wlad hon, a mynwch wybod eich bod yn eu galw trwy yr Ysbryd. Frodyr, pan fyddoch yn galw dynion i'r Offeiriadaeth, gadewch i mi roddi *rheol* i chwi—na ddewiswch ddynion dysgedig, neu o dalentau a chyrhaeddiadau mawrion yn unig, eithr y rhai hyny

ag ydynt yn ewyllysio gwneuthur ewyllys Duw; a hyn ydyw meddwl yr Arglwydd. Os bydd dynion o'r desgrifiad hyn yn meddu y fantais o ddysgeidiaeth dda, goreu i gyd. Os oes ganddynt feddyliau mawrion, hwy a ddeuant yn enwog yn eu tro, trwy lynu yn fanwl wrth gynghorion yr Offeiriadaeth; y cyfryw a ddeuant yn gryfion yn yr Arglwydd, ac a wnant lawer er cyflawni ei fwriadau yn y dyddiau diweddaf. Na alwch un dyn i'r Offeiriadaeth, oblegid eich bod am ddangos ffafr iddo, canys os gwnewch, efe a wna fwy o ddrwg nag o dda; ac y mae dyn yn llawer mwy galluog i wneuthur ewyllys Duw heb swydd na chyda un, oddieithr fod ganddo feddwl a phenderfyniad i fawrhau ei swydd; os di-anrhydedda dyn yr Offeiriadaeth, hi a dry yn fwy o felldith iddo nag o fendith. Yr wyf yn llefaru meddwl Duw wrth bawb sydd yma; am hyny, edrychwch at y pethau hyn, a'r Arglwydd a rydd i chwi ddoethineb i weithredu yn gyfiawn.

Nid yw yn iawn caniatâu i'r Henuriaid *Teithiol* grwydro oddiamgylch i rywle yn ddiattalfa. Ac nis rhoddwn i gynghor iddynt gael eu danfon i faes llafur heb un terfynau iddo, oddieithr i gyflawni rhywbeth neillduol; eithr bydded iddynt gael eu gwahanol faesydd llafur, a byddent iddynt deimlo yr un mor anymddibynol â chwithau, neu ryw awdurdod arall yn eu cylch, fel ag i ddefnyddio eu hawdurdod mewn modd priodol. Nid oes neb uwchlaw myned yn anymddibynol, bydded ef yn mha sefyllfa bynag y byddo. Fe gymmera dyn fwy o ofal am y gwaith, pan fyddo maes wedi ei benodi iddo, o herwydd efe a deimla y caiff ef yr anrhydedd am yr hyn a wneir yn y rhan neillduol hono o'r wlad. Na fydded i'r rhai sydd yn ewyllysgar (yr wyf yn llefaru am bawb ag ydynt yn eich Cynnadleddau, y rhai sydd â'u hymddygiad yn gysson), gael eu cadw yn ol gan eich esiamplau chwi, eithr tywyned eich goleuni ar bawb oddiamgylch. Y mae hyn o'r pwys mwyaf. Yr wyf yn teimlo yr Ysbryd yn gorphwys arnaf y fynyd hon. Hyn ydyw, frodyr,—y bobl a fyddant yr hyn yw yr Offeiriadaeth. Chwi a ellwch gymhwyso y rheol hon, ac nis metha byth. Pan yr wyf fi yn galw brawd i'r Offeiriadaeth, nid wyf yn edrych cymmaint ar alluoedd dyn, eithr os bydd ganddo olwg ar waith Duw, y mae yn iawn: os oes ganddo olwg syml at ogoniant Duw, mae y dyn hwnw yn iawn, ac y mae pob cymhwysderau yn gynnwysedig yn hyny.

Os bydd ef felly, nis gall canmoliaethau ei ddenu, ac nis gall bygythion ei niweidio, eithr efe a wna bob peth er anrhydedd a gogoniant i Dduw. Drachefn, yr ydych chwi wedi eich galw i fod yn Feistri. Yna, frodyr, byddwch yn haelionus, a'r rhai ag ydynt o danoch a'ch bendithiant, a pha fwyaf y bendithioch chwi hwynt, mwyaf oll y bendithiant hwy chwithau, ac y ceisiant wneuthur daioni i chwi yn mhob dull. Eithr os bydd rhyw rai o honoch yn teimlo megys i gyfyngu ar ysbrydoedd eich brodyr, cofiwch y gall amser ddyfod pan fydd y rhai y llywyddwch chwi drostynt yn awr, yn llywyddu etto drosoch chwi: am hyny byddwch yn haelionus tuag at eich brodyr, a hwy a'i trosglwyddant yn ol i'ch mynwesau chwi, a chwithau a fyddwch yn ymwybodol eich bod wedi gwneyd eich dyledswydd.

Mae hwn yn amser pan ag y teimla y Cynnadleddau fod y galwadau arianol arnynt yn hytrach yn drymion. Ymddengys fod y galwadau tuag at y Deml, a'r Drysorfa Ymfudol Barhaus, ynghyd â'r costiau perthynol iddynt, yn galed ar y rhai hyny sydd â theuluoedd, ac y mae fy nghalon wedi ei harwain i ystyried eu hamgylchiadau arianol, ac yr wyf yn teimlo am y rhai a roddasant eu ffyrlingau yn ol eu gallu, y cânt eu gwobrwyo yn y byd hwn, a'u coroni, os yn ffyddlawn, â bywyd tragywyddol yn y byd a ddaw.

Frodyr, os oes teuluoedd gan y rhai sydd yn teithio gyda chwi, bydded iddynt gael eich bendith. Ac mi a ddywedaf yn y man yma ei bod yn anmhosibl i'r Llywyddiaeth benodi y maesydd llafur neillduol i'r holl rai sydd yn teithio; eithr os gall Llywyddion y Cynnadleddau gytuno â'u gilydd ynghylch cyfnewid eu Henuriaid teithiol, bydded iddynt wneuthur felly, ac hysbysu y Llywyddiaeth yn Liverpool. Mae yma fagwrfa i'r Offeiriadaeth; a dichon cyn pen deg mlynedd y bydd y rhai y llywyddwch chwi arnynt yn bresennol, yn cael eu gosod i lywyddu arnoch chwi; ac am hyny, ymddygwch fel ag i fod yn abl i'w cyfarfod hwynt mewn dydd dyfodol. Mae yn dda genyf fod hyn genyf i'w ddywedyd, na ymddygais i erioed mewn unrhyw ffordd ag a achosai i mi ofni cyfarfod â'm brodyr drachefn, dros ba rai y llywyddais, hyd y nod pe byddai i'r dafol droi, a hwythau i lywyddu arnaf fi.

Y peth nesaf yw cadw Cof-lyfrau da! Dymunaf gael eich sylw at hyn yn uniongyrchol. Mae gan rai o'r Cynnadleddau gof-lyfrau da, ac ereill fel arall; eithr yr wyf fi am i chwi gadw cof-lyfrau yn y fath fodd fel y galloch osod eich dwylaw ar eich

holl aelodau, ac yna nis gellwch achwyn nas gellwch gael gafael ynddynt: a mynwch ysgrifenwyr ag a edrychant at y pethau hyn. Chwiliwch allan y dynion mwyaf manwl i lanw y swydd o ysgrifenydd. Yr ydys wedi colli golwg ar y pethau hyn i raddau mawr gan y byd yn gyffredin, eithr mae yn rhaid edrych ar eu hol yn awr.

Pe buasai y teulu dynol mewn trefn briodol, ni a allem olrhain ein hachyddiaeth yn ol at ein tad *Adda*, a gwybod o bwy y tarddasom, neu o bwy y disgynasom, a phwy yn mysg ein cyndadau a dderbyniasant yr Offeiriadaeth santaidd, os oedd rhywun. Mae yr Iuddewon yn dra manwl ynghylch y pethau hyn, cyn belled ag y caniatâ eu sefyllfa wasgaredig. Wel, gadewch i ni efelychu yr Iuddewon yn y peth yma. A phan fedyddioch unrhyw bersonau, gosodwch i lawr ddydd eu genedigaeth, a'r lle eu ganwyd, a phob peth neillduol, ac yna pan fyddont yn myned adref i Seion, gallant gymmeryd y cofnodau hyny gyda hwynt. Mi a fum yn NHY YR ARGLWYDD, ac yn cymmeryd enwau y brodyr a ddaethent yno am ryw amser; ac yr oedd rhai na wyddent pa le y bedyddiwyd hwynt, na'r amser, na dim arall perthynol i'w derbyniad i'r Eglwys. Mae y pethau hyn o bwys mawr, frodyr, a gobeithiaf yr edrychwch chwi fod eich ysgrifenyddion yn gofalu am danynt. O, y fath beth gogoneddus fyddai pe gallem gael amseryddiad ac oedran ein cyn-dadau a'n cyfeillion, y rhai ydynt wedi myned i fyd yr ysbrydoedd.

Y mae trefn o gadw Cof lyfrau (a'r un oreu ag wyf fi erioed wedi weled) yn Nghynnadledd Glasgow, ac os ydych yn ewyllysio cael adysgrifen o'r neillduolion, ysgrifenwch at Ysgrifenydd y Gynnadledd hono. Nis gall neb fyned oddiyno heb fod hyny yn wybodus, a'r achos yw oblegid fod eu cof-lyfrau yn cael eu cadw mewn trefn dda.

Y mae rhai rhesymau cedyrn i gael dros edrych ar ol hyn, canys fe ddaw yr amser pan fydd y bobl yn foddlawn rhoddi yr hyn oll a feddant yn y byd hwn, a hanner o'r hyn a ddysgwyliant yn y nesaf, er bod mewn cymdeithas â'r Saint yn y Dyffryn, pan na fydd heddwch a diogelwch ond yn Seion yn unig. Ac y mae'r dydd yn dyfod, ac nid yw yn neppell, pan na dderbynir neb oni ddygant eu *cred-lythyrau* priodol. Bydded i ni gael ein Cof-lyfrau yn gyflawn, a gwybod pwy sydd yn deilwng o'n ffydd a'n hymddiried, ac i gael eu cymmeradwyo i'r Offeiriadaeth a'r Saint yn Seion.

Mae yn rhaid i mi gynnyg ychydig awgrymiadau ar bwnc yr Ymgasgliad, fel y gwypoch chwi pa fodd i'w osod o flaen eich Cynnadleddau. Y cyfarwyddiadau a gafodd y Llywyddiaeth yn Liverpool ydynt, fod i'r Saint ymgasglu ar hyd yr hen ffordd hyd nes y bydd yn gyfleus i'w danfon ar hyd yr *un newydd*, ac am i ni fod â'n golwg am agoriad. Yr ydym wedi darfod danfon y Saint i St. Louis, canys y mae llawer o'n brodyr wedi myned yno ac wedi marw; mae rhai wedi colli yr Ysbryd a gwrthgilio, ac y mae llawer, pan gyrhaeddant yno, yn myned yn glaiar a difater. Yr ydym ni wedi bod wrth ein gwaith am y deuddeg mlynedd diweddaf, yn ymdrechu casglu y Saint ynghyd yn America, ac nis gallasom ei wneuthur hyd yn hyn; ond yn awr, mae yr holl Saint ynghylch ymadael o St. Louis, a'r cynghor oddiwrth y Brif-Lywyddiaeth at y Saint yn y wlad hon, yw aros yma hyd nes y gallont fyned drosodd yn gwbl i'r Dyffryn.

Y rhai a ddanfonwn ni trwy y "Drysorfa Ymfudol Barhaus," nis danfonwn hwynt i ymbalfalu eu ffordd, eithr ni a ddanfonwn rhyw ddynion ffyddlawn gyda phob llwyth, fel y gofaler am danynt; a chan mai nid ein dyben yw gadael i neb aros yn St. Louis, bydd i ni eu llyfru i fyned drosodd yn gwbl. Bydd i bawb roddi rhwym-ysgrifau dros daliad yr arian a warir er eu trosglwyddo i'r Dyffryn. Pe na fyddai i ni fel hyn fod yn ofalus yn ein trefniadau, buasai i'r Drysorfa ddyoddef colledion mawrion o herwydd afiechyd, marwolaeth, a gwrthgiliad; canys diammau y try rhai ymaith oddiwrth y gwirionedd; ac oddieithr i ryw ddarpariaeth gael ei gwneyd gyferbyn â chyfnewidiadau felly, cawsai cyllid y Drysorfa eu lleihau yn lle eu cynnyddu. Wel, nid ydym yn dysgwyl danfon neb ond Saint da, ond etto y mae yn anghenrheidiol i gael trefniadau fel y rhai hyn.

Yr wyf fi yn gorfoleddu, frodyr, fy mod wedi bod yn alluog i ddanfon y nifer gyntaf trwy y "Drysorfa Ymfudol Barhaus!" Yr wyf wedi danfon 250 i ddechreu, a gosod allan oddeutu £24,000. Mae hyn yn fwy nag a dderbyniwyd i'r Drysorfa, eithr trwy fenthycia ychydig gannoedd o bunnau, y galluogwyd ni i ddanfon allan gynnifer. Danfonasom allan gyda hwynt ddau o'r dynion goreu oedd genym; meddyliwyf y rhai goreu at y gwaith hyny; dynion o brofiad, ac yn meddu cymhwysder naturiol at fusnes felly. Ydyw, mae y "Drysorfa Ymfudol Barhaus" wedi dechreu gweithio, ac y mae wedi ei bwriadu i fod

yn un o'r offerynau mwyaf pwerus er ymgasglu y Saint yn yr oruchwyliaeth ddiweddaf hon. Mi a wn fod genych ddynion da drosodd yn Seion, y rhai ydynt yn myfyrio eich lles, a gwn ei fod yn eu calonau i wneyd daioni i chwi a holl ddynolryw, ac o'r herwydd hyny y cynghorasant y Saint i aros yma hyd nes y gallont fyned yn gwbl i'r Dyffryn. Wedi ystyried pob amgylchiad chwi a ddywedwch y bydd yn well i'r Saint na allant fyned yn mlaen yn eu cyfer, aros yma flwyddyn neu ddwy yn hwy, na myned i St. Louis, ac efallai wadu y ffydd, neu golli eu bywydau yn mysg y drygionus. O herwydd y cyfnewidiad hwn, y misoedd Ionawr a Chwefror fyddant y tymmor i ymfudo, yn lle y misoedd Medi, Hydref, &c., megys hyd yma.

Gofynwyd cwestiwn gan yr Henuriad Marchant, mewn perthynas i'r pris cludo oddiyma i'r Dyffryn, os oes eisieu £20 y pen. Dymunaf ddweyd, na fydd y swm yma yn ofynol yn yr amser dyfodol, o herwydd fod y Saint wedi gadael y Taleithiau. Yr oedd eisieu y swm hon hyd yn bresennol, oblegid y galwad mawr am anifeiliaid a wageni; ond ni fydd felly o hyn allan, ac o ganlyniad bydd y draul rhwng y wlad hon a'r Dyffryn yn llawer llai. Y Llywyddiaeth yma a roddant rybydd mewn perthynas i'r Drysorfa Barhaus; eithr fe fydd y Drysorfa hono yn gwbl wrth lywodraeth y Brif-lywyddiaeth, a chaiff ei defnyddio yn ol eu gorchymyn hwy.

Dymunwn ar Lywyddion Cynnadleddau i wasgu yn neillduol ar eu meddyliau, ac ar feddyliau eu brodyr yn eu gwahanol Gynnadleddau, mai dyledswydd pob dyn yw talu ei Ddegwm cyn gadael y wlad hon, a pheidio gwneyd darpariadau i gymmeryd pobl i'r Dyffryn heb gynghor y Llywyddiaeth yn Liverpool.

Nid yw yn ddoeth i gynghori, na chymmeradwyo i wyr fyned i'r America heb eu gwragedd. Ni wyddis pa brofedigaethau y dygwydd i wraig neu ferch gael eu harwain iddynt, tra na fyddo y gwr a'r tad gyda hwynt. Am hyny, cymmerwch bob cyfleusdra i rwystro amcanion y gelyn.

Llyfrau, *Stars*, a chynnydd dyledion, yw yr hyn a ffurfia fy nhestun nesaf. Mae dyledion y gwahanol Gynnadleddau am lyfrau, yn cyrhaedd oddeutu £2,500; ac y mae'r dyledion hyn ar eu cynnydd, ac am hyny mae yn bryd i chwi ymegnio, ac ymdrechu clirio y dyledion hyn ymaith. Yr wyf yn cael fod gan y rhan fwyaf o'r Cynnadleddau yn agos cymmaint ag a allant

wneuthur, ac y mae rhai yn teimlo y baich yn hytrach yn drwm i gyfarfod â'r costiau achlysurol, eithr mi a ddywedwn wrth y cyfryw, Byddwch amyneddgar a llawn ffydd, a'r Arglwydd a rydd i chwi allu i wneuthur yr hyn a ofynir genych. A phob dyn a roddo ei ddylanwad i mewn, ac a adawo i'w holl enaid fod yn y gwaith, a fydd yn alluog i'w wneuthur, ac ni chaiff dim ei rwystro. Gan hyny, bydded yn un o'r pynciau mwyaf eu pwys yn eich Cynnadleddau, i bregethu ynghylch y llyfrau a'r *Stars*, a'r anghenrheidrwydd o gadw yn glir â'r swyddfa. Mae yn rhaid i mi wasgu hyn ar eich meddyliau, canys y mae yn anghenrheidiol i ryw drefniadau gael eu mabwysiadau yn union er cael yr arian i mewn am y llyfrau a'r Stars sydd yn sefyll allan yn eich Cynnadleddau. Eithr mi a wn eich bod yn foddlawn ei wneuthur; ac am hyny, defnyddiwch bob adeg i osod y mater yn ffyddlawn o flaen y Saint. Anfonwch allan eich Henuriaid a'ch swyddogion lleol i bregethu egwyddorion cyntaf yr Efengyl; eithr pan fyddoch yn myned o flaen y Saint, na ofalwch gymmaint ynghylch egwyddorion dechreuol yr Efengyl, ond siaradwch â hwynt ynghylch pethau tymmorol, a dywedwch wrth y Saint mai y ffordd iddynt i gael yr Ysbryd Glân yw gwneuthur pa beth bynag sydd eisieu. Gwna yr Ysbryd eich goleuo i lefaru wrth y Saint un tro, ac wrth y byd dro arall. Gweithredwch yn ol y cyfarwyddiadau hyn, ac yna chwi a fyddwch yn abl i wneuthur llawer tuag at sefydlu gweithfeydd yn Seion, mewn ychwanegiad at glirio ymaith eich dyledion yn y swyddfa: a'r Saint a gânt eu bendithio, a phan gyrhaeddant Seion, hwy a orfoleddant yn ddirfawr yn y bendithion a dywallta yr Arglwydd arnynt.

Yn awr, y mae mater bach arall ag sydd genym i'w drafod, h.y., arolygu cyfrifon y Trysorwyr a'r Dosparthwyr llyfrau. Mae hyn weithiau yn waith annymunol, ond etto mae yn rhaid i ni ei wneuthur cyn y gallwn wneyd ein dyledswydd; ac y mae llawer o bethau o natur anmhleserus genym ni i'w gwneuthur yn mhlith plant dynion er gwneuthur ein dyledswydd yn mhob peth. Y mae ffordd briodol o wneyd busnes; a dyledswydd pob Llywydd Cynnadledd yw edrych fod gofal yn cael ei gymmeryd o bob peth, a'u bod yn cael eu cadw mewn sefyllfa briodol. Eich dyledswydd chwi yw edrych i mewn i gyfrifon eich gorchwylwyr, a chael eu cyfrifon wedi eu harolygn, o leiaf

bob tro y byddom ni yn cyhoeddi ein *balance-sheet* chwarterol; a phan geir gwall yn ein *balance-sheet* ni, na aroswch dri neu chwech mis cyn yr ysgrifenwch i'r swyddfa hon yn ei gylch. Os wrth arolygu cyfrifon eich gorchwyliwr y bydd rhywbeth heb fod yn ddigon eglur i'w ddeall yn iawn, edrychwch ato; ac yna chwi a gedwch Lywyddiaeth eich Cynnadleddau mewn anrhydedd, ac a rwystrwch fe ddichon y dyn sydd â'i sefyllfa felly, rhag lladrata arian yr Eglwys, ac efallai rhag gwrthgilio a myned i lawr i uffern.

Y fath ydyw cyflwr presennol y gwaith hwn ag a ymddiriedir i'n gofal ni, fel nas gall Llywyddion y Cynnadleddau, yn neillduol y Cynnadleddau mawrion, aberthu eu hamser er myned i bregethu mewn lleoedd newyddion, gymmaint ag y buont yn arferol o wneyd hyd yma. Yr wyf yn ewyllysio llefaru wrthych ynghylch y pwnc hwn. Yr wyf yn gwybod fod llawer o honoch yn dra chelfydd i osod ein hathrawiaethau gerbron y bobl, ac y mae hyny yn anghenrheidiol weithiau; eithr yr wyf fi yn fynych wedi meddwl hyn,mai person ag sydd newydd ddyfod allan o'r byd, a'r hwn ag sydd yn teimlo awydd i ledaenu y gwirionedd, ac yn ewyllysgar i ddyfod allan, a chynnorthwyo y rhai hyny oddiwrth ba rai y mae efe newydd dderbyn gwybodaeth a bendithion, yw yr iawn fath o ddyn i'w ddanfon i bregethu i'r byd. Mae y dyn newydd ei eni i'r deyrnas, ac yn llawn o'r Ysbryd, ac yn barod i gymmeryd gafael trwy gynnorthwy y rhesymau hyny a'u hargyhoeddasant ef; a bydd i'r cyfryw un yn gyffredin brofi yn llwyddiannus. Yr ydych chwi yn llawn o resymau ac egwyddorion llywodraeth, ac, os byddwch yn ffyddlawn, chwi a fyddwch yn alluog i ddethol dynion i bregethu i'r byd, ac o ganlyniad bydded i chwi gyfyngu eich hunain i bregethu i'r Saint yn fwyaf neillduol, a bydd i'r Saint fyned a phregethu i'r byd ; a'r chwiorydd hefyd, ac fel y dywedwyd, hwy a "faeddant y pregethwr goreu yn y wlad." Myfyriwch i ddanfon allan i'r byd y rhai hyny a fyddant fwyaf galluog i osod allan eiriau y bywyd yn y fath fodd ag i ddwyn yr onest i weled ac ufyddhau y gwirionedd. Os bydd rhai o'u dychweledigion yn ddynion arianog, dysgwch iddynt eu dyledswydd mewn perthynas i'r degwm, ac adeiladiad Seion. Dangoswch i ddynion pa fodd i ddefnyddio eu harian er anrhydedd a gogoniant Duw. Nis ceisiwn i gan ddyn i wneuthur unpeth ag na chredwn a fyddai er ei les ef yn gystal â minnau.

Eich dyledswydd a'ch hawl chwi yw rhoddi cynghor mewn perthynas i ddefnyddio arian, neu unrhyw beth arall perthynol i iachawdwriaeth y Saint; mewn gwirionedd, frodyr, eich dyledswydd chwi yw edrych ar ol llesoldeb y Saint, a phregethu ynghylch y pethau hyny a berthynant iddynt fwyaf. Yr ydym ni ag sydd wedi dyfod o'r ochr arall, wedi clywed rhai o'n gwyr mwyaf ysbrydol yn pregethu ynghylch ychain, wageni, coed, hoelion, &c.

Nid wyf yn gwybod fod anghen i mi ddywedyd llawer ynghylch degwm, eithr y peth blaenaf a mwyaf ydyw, fod pob person o eiddo i dalu y ddegfed o'r hyn sydd ganddo ef neu hi cyn ymadael o Liverpool, er lles gwaith yr Arglwydd; ac y mae'r arian hyny yn ddarostyngedig i orchymyn y Llywydd Brigham Young. Nid yw yr hyn sydd yn cael ei gasglu yn yr ynysoedd hyn, yn ddegwm; eithr yn gymmaint ag nad oes digon o arian degwm i ddechreu adeiladu teml â hwynt, y mae hyn yn alwad oddiwrth y Brif-Lywyddiaeth ar y Saint yn Mhrydain Fawr i gyfranu eu hatlingau tuag at adeiladu tŷ i Enw yr Arglwydd, lle y tywallt Ef ei fendithion ar y rhai ffyddlawn.

Y rhai hyn, frodyr, yw y pethau mwyaf pwysig a chwennychais osod o'ch blaenau. Y mae llawer o bethau ereill, eithr yr wyf o bryd i bryd wedi eu cyhoeddi yn y *Star*, ac o ganlyniad y mae yn afreidiol llefaru yn eu cylch yn bresennol. Yr wyf yn gweddio ar i'ch aelodau, dros ba rai y llywyddwch, gael tueddiad ynddynt i ddilyn eich esiampl dda yn mhob gair a gweithred dda. Y mae llawer iawn o drin a thori ymaith wedi bod yn y flwyddyn ddiweddaf, ac y mae yn beth da, canys arbeda i ni y trafferth o gasglu llawer un. Mae genym ddigon o gymmeriadau felly yno, ac nid oes ynom un awydd i fyned â rhai o'r wlad yma i fwyhau eu rhif. Fel y byddoch yn trin y pren, efe a dyf yn fwy helaethlawn, a'i wreiddiau a afaelant yn well, nes y byddo y pren yn cynnyddu a llwyddo, gan fyned gryfach gryfach hyd ganol dydd.

Bydded i'r Arglwydd eich bendithio chwi mewn doethineb a dylanwad i lywodraethu ei bobl mewn pob cyfiawnder, yr hyn yw taer weddi eich gostyngedig was a'ch cyd-lafuriwr yn achos ein Gwaredwr. Amen.

[Mewn ychwanegiad at hyn, mae y *Star* yn cynnwys copi o'r "Memorial" a anrhegwyd i'r Llywydd F. D. Richards, er cof

am ei lafur diflino yn mhob dull tra y bu yn llywyddu ar yr Ynysoedd Prydeinig; yr hwn a gafodd ei arwyddo gan yr holl frodyr ag oeddynt yn cyfansoddi y Cynghor.—GOL. YR UDGORN.]

---

## EPISTOL Y LLYWYDD S. W. RICHARDS AT Y SAINT YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG.

ANWYL SAINT,—Mawr yw y dyddordeb cyssylltiedig ag adeiladu teyrnas Dduw yn mhlith cenedloedd y ddaear, yr hwn a ddwg i ymarferiad bywiog bob ymegniad o eiddo yr enaid hwnw i ba un y cyflwynwyd, i unrhyw raddau o bwys, ofal y Saint. O herwydd hyn, teimlwn yn ddyled arnom i'r rhai a edrychant tuag atom am gynghorion, i gynnyg y cyfryw sylwadau, yn moreu ein gweinidogaeth, ag a dueddant i ychwanegu ac amddiffyn y dyddordeb hyny, yn ei berthynas cyffredinol â lles presennol a dyfodol y Saint, fel y byddo i deyrnas Dduw barhau i ledaenu ei dylanwad, ei gallu, a'i llywodraeth ar y ddaear.

Y mae gan bob dyn a fedyddiwyd i Grist, trwy rinwedd y cyfammod newydd a thragywyddol, ddyledswyddau i'w cyflawni, a gweithredoedd i'w gwneuthur, y rhai, os gadawa hwynt heb eu gwneuthur, a brofant yn sel ddiogel o gondemniad. Cyflawniad buan a ffyddlon o'r dyledswyddau, neu ofynion hyny, yw yr unig beth a gyfiawnha, neu a lanha blant dynion oddiwrth ystaen eu heuogrwydd, ac a rydd hawl iddynt i deilyngdod y cymmod, fel y delo eu gwisgoedd yn wynion trwy waed yr Oen. Fe fydd gan bob onest ei galon a gyfammododd â'i Dduw, ddymuniad i ddysgu ewyllys Duw; a chan fwynhau llawer o'i Ysbryd, efe a geir o hyd yn rhodio gyda ei ddyledswydd, yn llwybr doethineb, yr hyn sydd heddwch, ac yn tywys i fywyd.

Y mae ymarferiad dyddiol y corff yn gydweddol â'i gyfansoddiad, i ddarparu dros y bywyd marwol hwn, ac y mae parhaus ymarferiad y meddwl yn anghenrheidiol er ei briodol amlygiad, fel y byddo yn cael ei gyfaddasu at bob mwynhad a all gwybodaeth ei gyfranu; eithr fe ddylai ymdrechiadau pob un o honynt gael eu doeth gyfeirio, fel y byddo y canlyniadau goreu fo posibl yn dilyn; a thra fyddo un yn diwallu anghenrheidiau yr amser presennol, bydd y llall hefyd yn diwallu anghenrheidiau y dyfodol diddarfod. Ein bwriad presennol yw cyfeirio y meddwl at rai o'r dyledswyddau hyny a deilyngant sylw uniongyrchol y Saint yn yr Ynysoedd Prydeinig, ac ar ba rai y mae llwyddiant y gwaith yn ymddibynu.

Dyledswydd holl aelodau Eglwys Crist yw gweddio yn fynych ar yr Arglwydd, fel y caffont lawer o'i Ysbryd i'w harwain i bob gwirionedd; canys efe a ddywedodd y rhoddid ei Ysbryd mewn atebiad i weddi: rhoddi heibio pob cablu, yr hyn a duedda i dramgwyddo eich cymmydog, eich brawd, neu chwaer—canys gwae yr hwn y daw rhwystrau trwyddo; bwrw heibio eich holl

ymgecru, a'ch amrafael, y naill tuag at y llall; nid yw casineb, amryson, ac ymraniadau yn ganiataol i fod yn mhlith y Saint, y maent hwy o ysbryd y diafol, ac nid o Dduw; am hyny, gochelwch bob rhith drygioni; byddwch gymmwynasgar i'r naill y llall, ac adeiladwch eich gilydd i fyny; byddwch yn lanwedd, rhinweddol, a daionus, yn amyneddgar mewn gwneuthur daioni; ac yn ddiweddaf, ymgeisiwch ymddilladu eich hunain â, ac yn yr ymarferiad cysson o bob rhinwedd ag sydd yn perthyn i dduwioldeb, yr hon a addurna ac a wna yn ddymunol ei meddiannydd. Felly bydded i bawb trwy eu hymddygiad patrynol eu hunain, a'u buchedd deilwng, fod yn dystion byw i bawb oddiamgylch, o allu Duw, trwy Efengyl ei Fab, gan fyw yn holl ordinhadau a chynghorion Duw.

Dyledswydd pob pen-teulu, yw edrych fod pob aelod o'i deulu ef neu hi, yn cael ei ddysgu yn briodol yn yr holl ddyledswyddau hyny ag sydd yn gydweddol â'u hoedran a'u sefyllfa mewn bywyd: ac yn gymmaint â bod priodas yn sefydliad o eiddo Duw, dyledswydd y gwr yw caru ei wraig ac ymddwyn tuag ati mewn pob tiriondeb, megys y mae Crist yn caru ei Eglwys, dros yr hon y mae ei fraich o drugaredd o hyd yn estynedig allan er achub; eithr ei ddyledswydd ef yw caru ei Dduw yn ddirfawr, yn fwy nâ'i wraig, ei blant, neu hyd y nod ei fywyd ei hun, onide nid yw yn deilwng o deulu. Dyledswydd y wraig yw caru ei gwr, a dangos yr unrhyw gyda'r holl ufydd-dod ewyllysgar hwnw, i'w gynghorion cyfiawn ef, ag a ofyna Crist oddiwrth ei Eglwys; megys ag y mae Crist yw Pen yr Eglwys, y byddo yntau hefyd yn ben ar y wraig, fel y caffer ynddynt esiampl deilwng o santeiddrwydd a duwioldeb i'w gosod o flaen eu plant, a bod i'w plant gael eu dysgu i rodio yn y cyfryw.

Dyledswydd y rhieni yw dysgu eu plant, pan yn ieuainc, yn ffyrdd uniawn yr Arglwydd; eu dysgu i weddio; i garu eu gilydd, a'u rhieni, fel y byddo ofn Duw arnynt, fel y byddont yn barod, pan yn wyth mlwydd oed, i gael eu bedyddio, ac i dyfu i fyny yn ordinhadau Duw, gan fod yn meddu gwybodaeth o ffyrdd bywyd, a chyfranogi o freintiau a bendithion ei deyrnas; fel y dangoso pob teulu batrwn o drefn y nefoedd, mewn rheoleiddiad, llywodraeth, ufydd-dod, a phob rhinwedd ag sydd yn hynodi y drefn nefolaidd, ac ewyllys Duw yn cael ei gwneuthur ar y ddaear megys ag yn y nefoedd.

Felly bydded i bob un rodio yn llwybr ei ddyledswydd, ac anrhydeddu y cymmeriad o Saint, a gwybod yn ddiammau fod Duw wedi darparu moddion er eich perffeithiad; gan hyny, y mae yn dyfod yn ddyledswydd ar bob un i ymaflyd yn y lleshad o'r moddion hyny. A ydych chwi yn gofyn pa beth ydynt? Yr ydym yn ateb, Apostolion, Prophwydi, Efengylwyr, Bugeiliaid, Athrawon, a Diaconiaid ydynt, wedi eu rhoddi er perffeithio y Saint, a gwaith y weinidogaeth; fel yr argyhoedder y drygionus ac y dyger hwynt i wybodaeth Duw, trwy lafur ac ymdrechiadau y weinidogaeth hono. Gwna cyflawniad y dyledswyddau a ber-

thynant i'r gwahanol swyddi hyn effeithio ar sefyllfa, nid Sant yn unig, ond pechadur hefyd; nis gall un enaid gael ei berffeithio hebddynt, onide y mae Duw wedi gwneuthur ffolineb, ac wedi rhoddi rhoddion ofer i ddynion. Eithr pwy a gyhudda Duw o ffolineb? neu a ddywed wrth yr Hwn a gyflawnodd ei ewyllys ei hun, Paham y gwnaethost felly? Os ordeiniodd ef swyddogion ei Eglwys i fod yn gyfrwng trwy yr hwn y mae perffeithrwydd i ddyfod i'r Saint, yn gystal ag i dwyn yn mlaen waith y weinidogaeth, nis gellir cael bendithion y naill na'r llall yn un man arall, a chan hyny y maent hwy yn lle Crist, yr hwn wedi ei berffeithio, a ddaeth yn awdwr iachawdwriaeth.

Bydd i ni yn awr gyfeirio at ddyledswyddau rhai o'r swyddogion hyn, yn eu gwahanol faesydd llafur, megys ag sydd wedi ei benodi iddynt dan ein Llywyddiaeth ni.

Y mae Bugeiliaid a Llywyddion Cynnadleddau yn llanw sefyllfa dra chyfrifol, a'u dyledswydd yw gwylio dros y praidd a gyflwynwyd iddynt gyda gofal tadol, i'w llywodraethu gyda phob tiriondeb a chariad, etto gydag uniondeb, mawredd, ac anrhydedd; edrych fod pob dyn dan eu Llywyddiaeth yn sefyll yn ei gyfran a'i le, ac yn llanw y swydd yr anrhydeddir ef â hi yn yr Offeiriadaeth, gan gyflawni yn ffyddlawn, etto yn ddoeth, ddyledswyddau y swydd y mae yn ddal, fel y byddo yn barod bob amser, i roddi cyfrif da am ei orchwyliaeth i'w uchelach mewn swydd. Bydded i Lywyddion y Cynnadleddau anrhydeddu Llywyddion y Cangenau o danynt, os ydynt yn deilwng; ac os nad ydynt yn deilwng, bydded iddynt edifarhau a dyfod felly, neu gael eu symud, a llanw eu lleoedd gan ddynion ag ydynt yn deilwng; a gofyner i bob un ddwyn y baich a berthyn iddo, neu mewn geiriau ereill, ateb cyfrifoldeb yr ymddiried a osodwyd ynddo; a bydded yn wybodus fod ei wisgoedd yn lân, a'i ymddygiad yn ddihalogedig gan ragrith. Dyledswydd pob Llywydd Cynnadledd yw edrych nid yn unig fod Cof-lyfr y Gynnadledd yn cael ei gadw yn ffyddlawn, eithr edrych fod pob Cangen yn cofnodi pob dygwyddiad o bwys perthynol i'r Gangen hono; pa un bynag ai marwolaethau, genedigaethau, priodasau, derbyniadau neu symudiadau aelodau, neu pa amgylchiad bynag a all effeithio er lles y Gangen, *gan roddi pob hysbysiaeth addas gyda phob nodiad*, yr hwn, pan gyhoeddir ac y cynnwysir yn Nghof-lyfr y Gynnadledd, a gyfansodda hanes cryno o'r Gynnadledd.

Hefyd, dyledswydd pob Llywydd Cynnadledd yw edrych fod gwerthiad y llyfrau yn ei Gynnadledd yn cael ei ddwyn yn mlaen yn ddoeth, a bod pob ymdrechiadau yn cael eu gwneuthur er hwylusu hyny yn ac allan o'r Eglwys; ac o hyn allan dysgwylir y gwna efe ei hun yn bersonol hysbys o'r ffaith, fod yr arian a ddanfonir i'r swyddfa hon, ynghyd â'r llyfrau yn nwylaw y dosparthwr, yn ol pris y swyddfa (dyledion cangenau yn gynnwysedig), yn ddigon i gyfartalu y cyfrifon â'r swyddfa hon ar ddiwedd pob chwarter. Nid yn unig y mae llesoldeb y swyddfa yn gofyn hyn oddiar eich dwylaw, eithr y mae'r bobl y

llywyddwch arnynt yn hawlio eich amddiffyniad chwi o'u hiawnderau.

Esgeulusdod pellach ar ran y Llywyddion, nis gellir ei esgusodi. Ni ddylai y bobl, trwy eich esgeulusdod chwi, gael talu swm o arian a gawsant eu gwario gan y dosparthwr, yn unig o herwydd bod eich teimladau chwi wedi bod mor dyner, fel ag i'w ystyried yn drosedd ar foesgarwch cyffredin, i wneuthur eich dyledswydd o chwilio ei lyfrau ; megys ag y mae wedi bod hyd yn hyn. Nid yw y fath foesgarwch â hyn yn perthyn i'n crefydd ni ; am hyny, rhaid ein hesgusodi ni am beidio ei ganiatâu mewn ereill. Mae rhai o'r Cynnadleddau yn gwneuthur ymdrechiadau rhagorol i ryddhau eu hunain oddiwrth y fath feichiau anghyfiawn ; ac os bydd eu Llywyddion yn ddoeth, dysgwyliwn y cânt eu gwaredu rhagddynt yn yr amser dyfodol. Dysgwylir i'r holl ddosparthwyr sydd â'u cyfrifon yn fwy nâ phymtheg punt y chwarter, dalu pob pythefnos i'r swyddfa hon, a'r rhai sydd dan y swm hono, unwaith y mis.

Dysgwylir i Lywyddion y Cynnadleddau ddefnyddio eu hamser i ofalu am y Saint, a gwaith y weinidogaeth, ac na fyddo yn cael ei drafferthu ynghylch gwerthu llyfrau, neu unrhyw fusnes arall ag a fyddo â thuedd i dynu eu sylw oddiwrth ddyledswyddau uniongyrchol eu Llywyddiaeth. O herwydd hyn a drygau ereill ag ydynt wedi bodoli, y cyfododd yr arferiad a benodi *Henuriaid Teithiol*, i'r dyben o gymmeryd gofal ychydig Gangenau o Gynnadleddau. Mae rhai o'r Cynnadleddau yn ddigon lliosog i gyfiawnhau y drefn hon, eithr nid ydynt ond ychydig. Pe buasai pob swyddog yn ngwahanol Gangenau yr Eglwys yn sefyll allan yn ysbryd eu swydd, gallai llawer o'r Henuriaid Teithiol gael eu rhyddhau o'u llafur presennol, a myned i blith y rhai hyny nad ydynt etto wedi clywed yr Efengyl yn cael ei phregethu, eithr sydd yn dyfal ddysgwyl gwawriad y dydd dedwydd hwnw pan y daw iachawdwriaeth atynt hwythau ; ac felly y lledaenid y deyrnas ar led, ac y cynnyddai ei llywodraeth. Dyledswydd yr Henuriaid yw profi y byd, a'i wneuthur yn y ffordd ag y mae Duw wedi benodi, fel y byddont yn dystion dros y rhai a gânt eu cyfiawnhau, ac yn erbyn y rhai a gondemnir ;— ac wrth hyn yr adwaenwch ei ddyscyblion Ef, os porthant chwi, a'ch dilladu, a rhoddi arian i chwi, a derbyn eich tystiolaeth. Ond tra na fyddo Henuriad Teithiol yn myned allan i bregethu i'r byd ond yn unig ar y Sul, ac yna yn dychwelyd i blith y Saint, nid yw yn profi y byd, nac ychwaith yn rhoddi cyfleusdra iddynt hwy i'w brofi ef ; a thra fyddo ef felly yn methu cyflawni ei ddyledswydd, peidia llawer o'r byd i ddyfod dan gondemniad, ac y mae'r gwaith yn cael ei fwyhau, mewn rhai enghreifftiau, i flynyddoedd o wasanaeth diofal, tra y gallai misoedd fod wedi cyflawni yr un gwaith.

Mewn rhai amgylchiadau nid oes y fath gyssylltiad yn bodoli rhwng Llywyddion y Cangenau a Llywydd y Gynnadledd, ag y dylai fod, yr hyn sydd yn gwneyd ei lafur ef yn anhawdd, ac

weithiau hyd y nod yn annymunol. Frodyr, ni ddylai hyn fod.

Dyledswydd pob swyddog yn nheyrnas Dduw yw troi ei galon, ei deimladau, a'i serchiadau tuag at ei Lywydd; ac megys ag yr ydych yn ceisio am ysbryd yr Arglwydd i'ch galluogi i wneuthur ei ewyllys, felly gyda'r un awydd y dylech geisio am ysbryd, ewyllys, a golygiadau eich Llywydd, i wneuthur yr unrhyw gyda phob gostyngeiddrwydd calon, ac yn fwy felly oblegid eich bod yn dal swydd gyfrifol a dyrchafedig. Os ydych am fod yn debyg i'ch Meistr, na cheisiwch byth wneuthur ewyllys eich hunain, eithr ewyllys yr hwn sydd fwyaf. Y dyn hwnw na thry ei galon yn gwbl at ei Lywydd, fel ei gynghorwr uniongyrchol, nis gall gael gallu i lywodraethu dylanwad er iachawdwriaeth y bobl; nid yw Offeriadaeth Duw yn arddel un egwyddor arall o lywodraeth, oblegid ei bod yn berffaith, a gofynir perffaith ufydd-dod gan bob deiliad, pa un bynag ai uchel neu isel, cyfoethog neu dlawd; pe amgen, nis gallai cyfrifoldeb orphwys lle y perthyna; a phan gymmero dyn arno yr hawl i wahaniaethu oddiwrth ei lywodraethwr, y mae yn cymmeryd arno yr hawl i fradychu llywodraeth Duw, a'i gosod yn agored i ddylanwad marwol gwrthwynebiad, yr hwn ydyw gallu y diafol. Pe bodolai drygioni yn ngweinyddiad y llywodraeth, mae gan yr *awdurdod uwchaf* hawl i ymyraeth.

Nid yw pawb yn berffaith etto, am hyny edryched pob un o'i amgylch, ac adnabydded ei sefyllfa. A yw Llywyddion yn colli eu hawdurdod a'u dylanwad yn mysg y bobl? Os ydynt, pa beth yw yr achos o'r drwg hyn? Chwiliwch ef allan, a bwriwch ef yn mhell oddiwrthych. Ni raid i chwi ddysgwyl, frodyr, mwy oddiwrth y rhai y llywyddwch chwi arnynt, nag ydych chwi yn roddi i'r rhai sydd yn llywyddu arnoch chwi. Os ydych chwi yn cymmeryd y rhyddid i dynu eich teimladau a gwahaniaethau oddiwrth eich Llywydd chwi, mae yn rhaid i chwithau roddi yr un rhyddid i'r rhai hyny y llywyddwch chwi arnynt, a'r rhai a edrychant atoch chwi am esiampl. Yn hyn, fel mewn pethau ereill, yr hyn a fesurwch chwi a adfesurir i chwithau drachefn; ac os llywodraethwch chwi â llaw drom, ac ni ddygwch faich y praidd, mae yn rhaid i chwi ddysgwyl yr un mesur oddiwrth y rhai hyny a lywodraethant arnoch chwithau.

Mae yn rhoddi pleser mawr i ni i wybod nad yw y cyfryw amgylchiadau, o fewn terfynau ein hadnabyddiaeth ni, ond ychydig iawn; a lle y maent y bodoli, hyderwn y gwna doethineb ddangos y ffordd ragorach, ac adferu y cydymdeimlad a'r cyd-ymdrech hyny ag a ddylai bob amser nodweddu teulu Duw, ac a fu bob amser yn ffordd effeithiol i bregethu yr Efengyl i fyd amrysongar.

(*I'w barhau.*)

## GWAHODDIAD I'R SAINT.

HOLL Seintiau ffyddlon Iesu,
'Rwyf 'nawr yn eich cynghori,
Mewn modd prysur,
I ddyfod o'r gorthrymder,
Lle cawn ni anghyfiawnder,
Tua'r wlad a roddwyd i ni'n rhâd,
Lle cawn folianna,
A byth deyrnasu
Yn ngwyddfod Iesu,
'Nol cyrhaedd pen y daith;
A byth ryfeddu'r cariad,
I dragwyddoldeb maith:
Mor llon y byddwn ger ei fron,
Ar ol dod adrau o'r blinion bläau,
A'r gorthrymderau sydd 'nawr yn blino'n bron,—
Cawn roi ffarwel dragwyddol ar fyr i Babilon.

Mae 'nghalon yn hiraethu,
Am fod yn mhlith y teulu
Sydd yno'n moli,
A seinio Haleliwia,
Mewn peraidd sain Hosanna,
Am eu gwaredu o Babel ddiffaeth gas,
O blith erlidwyr,
A thrwm orthrymwyr,
A'r holl ddifenwyr,
Sy'n nawr yn blino'r plant,
Ond henffych ddedwydd foreu
Cawn fyn'd o'u plith i bant,
I'r fan osododd Duw yn rhan,
Lle y cawn foli dros fil o flwyddi,
Yn mhlith cwmpeini, sy'n seinio'r uchel dôn,
Gan dyblu'r anthem hyfryd mewn gwynfyd gyda'r Oen.

*Rhymni.* WILLIAM CHARLES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

BEDYDDFAN.—Mae y Llywydd Young wedi rhoddi gorchymyn i adeiladu bedyddfan ar y Temple Block yr haf hwn.

MAE yn dda genym i allu hysbysu fod yr Henuriaid Franklin D. Richards ac Erastus Snow, y rhai a adawsant Liverpool ar yr 8fed o Fai, ar fwrdd y Niagara (agerdd-long), wedi cyrhaedd yn ddiogel yn New York ar y 19eg o'r un mis.

DYWEDIR yn y *Deseret News* fod teulu y Llywodraethwr Brigham Young wedi gwau 500 o latheni o frethyn yn ystod y gauaf diweddaf.

Yr oeddid yn dysgwyl y buasai cant o wageni yn gadael y Dyffryn yn mis Gorphenaf, wedi eu llwytho â blawd, cloron, &c., ynghyd ag anifeiliaid i'w lladd, i gynnorthwyo y tlodion ymfudol ar y gwastadedd,—meddyliwn y tlodion a gerddant, a'r rhai hyny a ddanfonir trwy offerynoldeb y "Drysorfa Ymfudol Barhaus." Meddyliwyd y gallai y cyfoethogion gynnorthwyo eu hunain. Mae rhyw dyb yn ein penau ni mai y cerddedwyr—sef y Saint hyny â'u *wheel-barrows* a'u llaw-geirt, a gânt y goreu o'r daith wedi y cwbl.

Gwyl.—Aelodau y Llywodraeth a gynnaliasant Wyl ar y 4ydd o Fawrth, yn y Tŷ Tiriogaethol, Dinas y Llyn Halen Fawr, yn yr hon yr oedd y Llywodraethwr, a phersonau neillduol ereill, yn bresennol. Yr oedd y wledd yn gynnwysedig o luniaeth rhagorol i'r corff, ynghyd â chanu, dawnsio, areithio, &c. Mae araeth y Llywodraethwr Brigham Young i'w gweled yn y *Star*. Cafodd yr Argraffwyr wyl hefyd yn ysgol-dy y bedwerydd adran ar ddeg o'r Ddinas, ar y 24ain o Chwefror. Yr oedd y Brif-Lywyddiaeth yn bresennol, a chafwyd pob llawenydd.

Hindoostan.—Oddiwrth lythyron a ysgrifenwyd gan yr Henuriad W. Willis, ymddengys fod gwaith Duw yn llwyddo yn y wlad hono. Mae oddeutu 50 wedi eu bedyddio eisoes, ac argoelion gobeithiol iawn am liaws yn ychwaneg. Mae yr unarddeg brodor a fedyddiwyd ar y 6fed o Ebrill, wedi eu henwi ar yr enwau canlynol, sef Orson, John, Parley, Thomas, Wilford, Amasa, George, Lorenzo, Erastus, Franklin, a William. Ordeinwyd Orson yn offeiriad, John yn ddysgawdwr, a Parley yn ddiacon.

---

Taliadau o Meh. 10 hyd Meh. 24.—Sir Fynwy, £3; Gorllewin Morganwg, £4; Sir Feirionydd, £2 6s. 1½c.; Sir Fflint, £1; Sir Fon, £1 8s. 1c; Dyffryn Conwy, £1 10s; Pontypridd, 15s. 6c; Cwmbach, 11s. 7½c; Caerdyf, 18s; Aberdar, 14s. 6c; Hirwaen, 10s; Georgetown, £1 8s. 2c; Merthyr, £1 1s; Pendaren, 13s. 4c; Ynysgou, 7s.—Cyfanswm, £20 3s. 4c.

☞ Diwallwyd ni o rifynau yr Udgorn, Ath. a Chyf., a Llyfr Mormon. Mae rhifynau o Lyfr Mormon ar werth yma etto, a goreu i gyd pa gyntaf y gyrir i'w hymofyn. Mae yr "Athrawiaeth Iachus" allan o brint.

☞ Gwell i'n gohebydd Phillip Davies, os yw yn caru edrych ar ol busnes dynion ereill, ofyn i lywydd y gangen.

☞ Bydded ein gohebwyr yn amyneddgar, ac ymdrechwn ninnau wneyd defnydd o bob peth a welwn er lles y cyffredin. Ni ddylai neb roi heibio, oblegid na wel ei ysgrifen gyntaf yn gyhoeddedig. Darllener "Y Gwron a'r Prif-gopyn" yn y gyfrol gyntaf o'r Udgorn.

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, GEORGETOWN, MERTHYR.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 14.] GORPHENAF 10, 1852. [CYF. IV.

## GWIRIONEDD AC IACHAWDWRIAETH.

[O'r "Deseret News."]

EIN pwnc yw Gwirionedd; ein gwrthddrych yw Iachawdwriaeth. Nid yw cymmwynasgarwch annyddorgar yn cyfansoddi unrhyw ran o gyfansoddiad y rhai cyfiawn; eithr y maent hwy yn teimlo dyddordeb yn yr hyn oll a wnelont, a glywont, a deimlont, a archwaethont, neu a ymaflont ynddo. A pha beth yw y dyddordeb hwnw? Gochelyd y drwg, ac ymafaelyd yn y da. I ba ddyben? Fel yn y diwedd y cyrhaeddont iachawdwriaeth.

Y mae llawer o bersonau anwybodus ac hunan-gyfiawn, y rhai nad adwaenant Dduw, ac nad ufyddhant i'w Efengyl, yn meddwl fod yn rhaid iddynt fod mor santaidd nes peidio teimlo dim dyddordeb mewn caredigrwydd, ffydd, gobaith, cariad, ufydd-dod, ac o ganlyniad mewn iachawdwriaeth. Ychydig yn bresennol sydd genym i wneuthur â'r cyfryw; canys os gall un person fod mor gymmwynasgar ag i beidio teimlo dyddordeb yn ngwrthddrych ei ymlidiadau a'i ymdrechiadau, yna gall un arall, ïe, pob person arall fod yr un mor gymmwynasgar, ar yr un egwyddor; ac ni dderbynia un dyn a fu, sydd, neu a fydd yn byw ar y ddaear neu yn y nefoedd, byth unrhyw gyfran o ddaioni oddiwrth fydyssawd wedi ei lenwi â'r fath gymmwynasgarwch; y mae yn annyddorgar, ac nis gall neb gael dim dyddordeb ynddo, at ddrwg neu dda.

Hyn, ynte, yw dyben a bwriad gwirionedd—i hwylusu iachawdwriaeth. Rhoddwch i ddynion bob daioni arall a ellir ei enwi, a gwrthodwch iachawdwriaeth, a pha beth fuasai eu sefyllfa? Truenus, truenus yn wir, ïe, i'r eithaf! Pa beth yw iach

awdwriaeth? *Dedwyddwch!* A ellir dweyd mewn gwirionedd fod dyn wedi ei achub, tra y byddo yn gwbl druenus? Dim ar egwyddor arall, ond yn unig ei fod wedi ei achub oddiwrth ddedwyddwch. Pwy sydd yn meddu y fath iachawdwriaeth? Lusiffer a'i ganlynwyr. Pwy sydd yn dymuno y fath iachawdwriaeth, ac a ruthrai i'w chofleidio er ei mwyn? Neb; mae y diafol ei hun yn ei ffieiddio, ac y mae yn ddrwg ganddo iddo erioed ymrestru o dani, ac felly y bydd pob un a ymuno o dan ei faner yntau.

Eithr o ba beth y mae'r iachawdwriaeth yr ymgeisia y Saint am dani yn gynnwysedig? *Dedwyddwch*, yma ac yn ol llaw. Eithr os mai dedwyddwch yw gwrthddrych a dyben mawr eu dymuniadau a'u bodoliaeth, paham y maent hwy yn edrych mor brysur ar ol gwirionedd, ac yn ymgeisio mor ddiwyd i ddyfod yn santaidd, megys y mae Duw yn santaidd? Oblegid fod ein Tad Nefol wedi doeth ordeinio mai gwirionedd, wedi ei amlygu trwy fywyd santaidd a duwiol, yw yr unig foddion trwy y rhai y gellir cyrhaedd dedwyddwch gwirioneddol, parhaus, a nefol, gan fodau deallgar fel dynion, mewn sefyllfa o ymbrawf a rhydd ewyllys.

Pa beth y mae'r Saint am achub? Eu heneidiau. Pa beth a gyfansodda enaid un o'r Saint? Ei *ysbryd a'i gorff.* Eithr oni all ysbrydoedd y Saint fod yn berffaith ddedwydd, a chael eu hachub heb eu cyrff? Na allant! Os gallasent, paham yr ymddarostyngasant erioed i gytuno ac ymgyfammodi â'u Tad Tragywyddol yn y nefoedd, i ddyfod i'r ddaear hon er mwyn cael corff? Oblegid pe gallai yr ysbryd, pan yn gadael y corff marwol hwn yn angeu, am ychydig dymmor, sicrhau perffaith iachawdwriaeth heb adgyfodiad ac ad-uniad â'r corff (fel yr arddengys Mr. Andrew Jackson Davis, y claerwelydd (*clairvoyant*), yna gallai yr ysbryd hwnw fod yr un mor ddedwydd heb fod yn meddu corff erioed, yn union yr un fath ag oedd pan ddaeth o'r nefoedd i gael corff; a gwnai hyn brofi y gall ysbryd fod mor ddedwydd ag enaid, a bod cread y ddaear hon er mwyn cynnyrchu cyrff i'r ysbrydion a genedlwyd yn flaenorol yn y nefoedd, yn waith afreidiol a ffôl o eiddo y Tad Tragywyddol, yr hyn ni chwennychwn briodoli i'r Duw a addolwn.

Fe wnaeth Duw ddyn ar ei ddelw ei hun. Pa beth sydd yn cyfansoddi y ddelw hono? Ysbryd a chorff; sef yr hyn a amlygwyd pan oedd Duw yn rhodio, yn ymddyddan, ac yn bwyta gydag Adda, Enoch, Abraham, ac ereill; a chan fod Duw wedi

cael ei gorff adgyfodedig, mae yn rhaid i'r Saint, er parhau yn nghyffelybiaeth eu Tad Nefol, fyned yn mlaen at berffeithrwydd, hyd at gael eu cyrff adgyfodedig hwythau, onide ni pharotoir hwynt byth i drigfa nefol gyda chorff eu Tad nefol, a'i Fab ef Iesu Grist, yr hwn hefyd a gyfododd ac a gymmerodd ei gorff, a chydag ef y Saint a fuont feirw o'i flaen, ac oeddynt wedi derbyn yr Offeiriadaeth Santaidd.

Ond paham y mae holl glaerwelwyr a mesmeryddion y bedwarydd ganrif ar bymtheg yn gwadu adgyfodiad y corff? Oblegid bod eu gweledіad yn aneglur, tywyll, a chyfyngedig, ac nid oes ganddynt yr awdurdod neu y gallu i edrych i mewn i drigfa y Duwiau a'r Saint adgyfodedig; a phan fyddo claerwelydd yn gweled ac yn ymddyddan ag ysbryd o "fyd yr ysbrydoedd," ysbryd yn unig y mae yn weled, canys nid yw yr ysbrydion yr ymddyddana â hwynt erioed wedi derbyn eu cyrff adgyfodedig, ac nis gallant eu derbyn gryn amser etto; rhaid iddynt aros eu tro ar ol yr adgyfodiad cyntaf; oblegid ni dderbyniasant yr Offeiriadaeth Santaidd tra ar y ddaear, o ganlyniad nis gallant hawlio ei bendithion a'i breintiau, cyfran o ba rai sydd yn gynnwysedig mewn cael rhan yn yr adgyfodiad cyntaf.

Y rhai hyny ag a gawsant yr Offeiriadaeth Santaidd ar y ddaear, mewn gwahanol oruchwyliaethau, o ddyddiau Adda hyd yr Iesu, yw y rhai ag ydynt, gyda'r Iesu, wedi derbyn eu cyrff adgyfodedig, ac megys yntau yn trigo yn eu tiriogaethau eu hunain, ac yn cael eu llywodraethu gan y cyfreithiau a fwriadwyd yn neillduol iddynt hwy, a'r cyfryw ag ydynt wedi eu cyfaddasu i'w cylchoedd hwy o weithrediad; y rhai a'u gwaharddant i amlygu eu hunain i ddynion ar y ddaear, ond yn unig i'r cyfryw ag ydynt wedi derbyn y cyffelyb Offeiriadaeth; gyda'r eithriad o agor goruchwyliaeth, ar ol i'r Offeiriadaeth gael ei chymmeryd oddiar y ddaear, megys ag y cafodd yn fuan ar ol marwolaeth Pedr, yr hwn, yn mhen amser, a amlygodd ei hun i Joseph Smith, i'r dyben o roddi iddo ef yr un Offeiriadaeth; fel y buasai i fendithion y cyfryw drachefn gael eu mwynhau gan holl drigolion y ddaear ag a fyddent yn ewyllysgar i'w derbyn, fel mewn goruchwyliaethau blaenorol.

Er pan mae yr Offeiriadaeth wedi ei chyflawn adferu, gwaith dyn sydd wedi derbyn yr Offeiriadaeth hono, yw gweinidogaethu ynddi er mwyn plant dynion; o ganlyniad, nid oes achos i'r

henafiaid, y rhaï a feddent yr un Offeiriadaeth, barhau i weinidogaethau yn eu swydd ar y ddaear; y maent hwy wedi cyflawni eu gwaith, ac wedi myned tufewn i'r llèn ac yn ymorphwys yn y mwynhad o'u cyrff adgyfodedig, y rhai nid eu braint yw eu dangos i ddynion drygionus; a phe buasai i ddyn drwg unwaith weled gogoniant corff adgyfodedig, byddai farw yn ei bresennoldeb. A phe buasai i glaerwelydd, neu fesmeryddwr, neu rywun heb feddu yr Offeiriadaeth, yn dweyd iddo weled gogoniant corff adgyfodedig, ac etto yn fyw, buasai ei haeriad yn croesi gwirionedd; eithr gan nad oes un claerwelydd yn cael ei ganiatâu gan y gyfraith nefol i ymddyddan â neu weled person a fu yn meddu yr Offeiriadaeth ar y ddaear, a'r hwn sydd wedi cael ei gorff adgyfodedig, y mae efe yn dra naturiol yn penderfynu nad oes adgyfodiad y corff, ac o ganlyniad yn cyhoeddi ei gau-benderfyniadau am ffeithiau neu wirioneddau neillduol. Ac y mae yn eglur fod hyn yn un o'r pethau hyny y cyfeirid atynt gan Apostol cyntefig, pan y crybwyllodd y buasai twyllwyr yn cyfodi yn y dyddiau diweddaf, y rhai pe byddai bosibl, a dwyllent hyd y nod yr etholedigion; eithr nis gall hyn fod, canys y mae'r Saint ag ydynt wedi derbyn o'r Offeiriadaeth Santaidd yn adwaen gallu adgyfodiad y corff, yr hwn sydd i'w ail-uno â'r ysbryd, i gyfansoddi enaid diddarfod; ac y maent hwy yn ymdrechu parotoi bedyddfanau a themlau, yn mha rai i weinyddu dros y byw a'r meirw, fel na fyddo bendithion y gallu hwn yn golledig i'r sawl ag ydynt ac a fuont ar y ddaear, yn feddiannol ar golonau cywir.

Ni ddechreuasom ysgrifenu dros nac yn erbyn claerweliad, neu fesmeryddiaeth; y mae yn bwnc na feddyliwn ac na ofalwn fawr am dano; ac unrhyw ddyn a allo gael ei dwyllo gan y fath gymmysgedd o wirionedd a thwyll, fel ag y gwelsom wedi eu cyssylltu gan yr awduron a grybwyllasom, nid yw deilwng o Deyrnas Nefoedd; ac os oes rhywun yn dewis credu celwydd, a thrwy hyny etifeddu teyrnas îselach, ar ol i ni gael y fraint o ddweyd y gwirionedd wrtho, y mae iddo yr un groesaw i'w sefyllfa isel ag a fuasai iddo i un uchel, pe buasai wedi credu y gwirionedd a'i derbyn; mae ein dillad ni yn lân oddiwrth ei waed; efe yw ei oruchwyliwr ei hun am fywyd neu farwolaeth.

---

# EPISTOL Y LLYWYDD S. W. RICHARDS AT Y SAINT YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG.

[Parhad o dud. 210.]

MEWN trefn i gynnal i fyny ymarferiad cysson llywodraeth Duw, ac i ddwyn allan y canlyniadau dymunol, y rhai yn wastadol a gydfynedent a'i gweinyddiadau, teimlwn i ddweyd wrth yr Henuriaid Teithiol, y rhai a alwyd i lywyddu dros ddosraniadau, Rhoddwch anrhydedd i'r hwn y mae anrhydedd yn ddyledus. Pan fyddo dyn yn cael ei alw i lywyddu dros gangen, ymdrechwch i'w gynnorthwyo a'i gynnal i fyny yn ei lywyddiaeth, trwy ddysgu iddo ddyledswyddau ei alwedigaeth, a'i gynghori ef mewn perthynas i gyflawniad y dyledswyddi hyny, fel y gallo mewn gwirionedd lywyddu dros y Gangen, a chael yr anrhydedd a'r fendith a berthyna iddo. Nac ymddarostyngwch i yspeilio eich brawd o'r hyn beth a fo yn perthynu yn gyfreithlawn iddo. Bydded i Lywydd pob Cangen lywyddu dros gynghor ei Gangen, oni bydd amgylchiadau yn gofyn eich cyfryngiad. Yna y mae eich dyledswydd i lywyddu drosto ef, tra y byddo i lywydd y Gynnadledd lywyddu drosoch chwithau. A thra bo pob un fel hyn yn gwybod ei le, ac yn ei gadw trwy feindio ei fusnes ei hunan, nid oes dim annhrefn mewn gweinyddiad llywodraeth. Ond megys pob peirianwaith arall o waith Duw, y mae ymarferiad pob un o'r swyddi yn y corff neu'r Offeiriadaeth, yn dwyn allan fywyd fel eu ffrwyth cyfreithlawn, ac fel hyn y mae iachawdwriaeth yn dylifo i'r bobl. Mewn canlyniad i ymfudiad blynyddol y Saint i Seion, ac amgylchiadau ereill, y mae Llywyddion y Cangenau yn fynych yn cael eu newid, a phersonau anmhrofiadol yn cael eu galw i lanw llefydd y rhai a symudwyd. Hyn a'i gwna yn anghenrheidiol i lywyddion y Cynnadleddau gyssegru eu hamser i addysgu yr Offeiriadaeth a'r Saint, yn yr amrywiol ddyledswyddau a berthyna i bob un o honynt, fel y byddo tywyllwch ac anwybodaeth yn cael ffoi ymaith, ac fel y gallo yr Henuriaid ieuainc, gwresog a selog, gael pregethu egwyddorion cyntaf yr Efengyl i'r byd.

Mynych y clywir Henuriaid llywyddol yn dywedyd hyd heddyw, nad ydynt yn deall eu dyledswyddau yn dda, ac na chawsant eu dysgu yn briodol ynddynt. Oblegid hyn, y dymunwn nodi yma; os ydych chwi yn dadau, ac yn deall y rhwymedigaethau ag y sydd arnoch i'ch plant, yna chwi a ellwch ddeall ymddangosiadau cyffredin y dyledswyddau hyny ag sydd yn rhwymedig arnoch at Gangen o'r Eglwys. A gawsai eich plant newynu, tra y byddai yn eich gallu i'w porthu hwynt? neu, a gelent fod yn noeth, tra y gallech eu dilladu hwynt? a gelent dyfu i fyny mewn anwybodaeth, a gresyndod i ddyfod yn etifeddiaeth dragwyddol iddynt, tra y byddo genych ystor o wybodaeth wrth law, â pha un y gellwch eu bendithio hwynt? Sicr na wnelech. Gogoniant pob tad a fyddai gweled ei blant yn dyrchafu ar

esgynfa dealltwriaeth a godidawgrwydd, wedi eu cynnysgaethu yn mhob modd i drafaelu yn olion ei draed, pan fyddo ei ben-llwydni wedi disgyn i waered i'r bedd; fel y gallo orfoleddu yn ei blant, pan y byddont yn ymgynnull oddi amgylch iddo, a'i alw yn wynfydedig, gyda'r fath ymlyniad a rydd foddlonrwydd iddo y bydd i'r gwaith yr hwn a wnaeth ond prin ei ddechreu gael ei gyflawni ganddynt, a'i enw gael anrhydedd er ei dragywyddol ogoniant. Felly y dylai fod myfyrdod pob Llywydd i gymmeryd y llwybr a ddarpara yn helaethaf i ddedwyddoli y rhai hyny a ymddiriedir i'w ofal, fel yn niwedd ei weinidogaeth, y caffo fendith ac anrhydedd yn wobr i'w ran. Os ewyllysiwch i wneuthur dynion da yn ddedwydd, gwnewch hwynt yn ddoeth, a phorthwch eu heneidiau â dealltwriaeth y nef, hyd y nod gwybodaeth Duw; oblegid hyn yn unig a fydd ddigonol. Bendithiwch y rhai hyny dros ba rai y mae genych wyliadwriaeth, a chwithau a fendithir yn eich tro; nid oes un dyn o wir egwyddor a dry ymaith oddi wrth ei ddyledswydd er ennill ffafr neu garedigrwydd neb; ni wna chwaith ddigaloni gan unrhyw ddrygioni a ddygir i mewn ac a gynnygir iddo gan elynion y gwirionedd. Y llwybr uniongyrch o uniondeb ac onestrwydd i Dduw, yw yr unig un y gallwn rodio ynddo i gael ei allu ef i'n cynnorthwyo a'n gwaredu ni.

Wrth fod mor rhydd yn gosod allan ein golygiadau ar weinyddiad cyffredin y llywodraeth yn mysg y Saint yn yr amser presennol, nid oblegid eu bod yn newydd, neu oblegid na chafodd y Saint eu dysgu ynddynt o'r blaen; ond yr ydym yn teimlo y pwysfawrogrwydd iddynt gael eu cadw yn wastadol o flaen y meddwl, ac o herwydd fod y gwaith yn wastadol ar gynnydd, dymunwn i dynu sylw y rhai na allasent gael y cyfleusdra i ddyfod yn adnabyddus â chyd-drefniad pethau perthynol i'r Eglwys, a'r egwyddorion wrth ba rai y gwnaethant danysgrifio. Ni ddylai unrhyw bersonau gael eu bedyddio i Eglwys Crist heb yn gyntaf gael eu dysgu yn briodol yn yr egwyddorion hyny ar ba rai y dysgwylir iddynt i weithredu, fel y gallont ddeall natur y cyfammod a wnant â Duw, pan dderbyniont yr ordinhad santaidd hono. Nid yw yr Henuriaid yn mhob achos wedi bod yn ddigon gofalus yn hyn, ond buont yn rhy awyddus i fwyhau nifer y bedyddiadau, heb ofalu am y canlyniadau; ni ddylai hyn fod. Pan fo personau yn cydsynio i gael eu bedyddio i Eglwys Crist, hwy ddylent ddeall, eu bod wrth wneuthur hyny, yn gweithredu yn ol eu hewyllys eu hunain; ac yn ol iddynt unwaith dansgrifio i gyfreithiau Duw, rhaid iddynt ddysgwyl y bydd iddynt aros wrthynt; canys y maent yn anymddibynol, ac ni wnant fyth gydffurfio ag anynadrwydd dynion. Y mae yn rhaid iddynt i ymroddi o hyny allan i ofyniadau y cyfreithiau hyny; ufydd-dod a ofynir, ac ni chymmeradwyir dim arall; ewyllys Duw raid fod eu hewyllys hwy o hyny allan; ac onidé, hyn fydd eu damnedigaeth, iddynt ymgyfammodi i gadw cyfreithiau Duw, a thrwy droi ymaith, a dorasant y cyfammod hwnw, ac a ddaethant yn gelwyddog gerbron Duw, a rhaid iddynt gael eu gwobr gyda eu tad

Diafol. Llawer gwell fuasai i'r holl gyfryw rai pe baent heb erioed glywed sôn am ffordd y bywyd, nac, wedi ymgyfammodi â Duw, i droi ymaith yn hollol oddiwrth y cyfryw gyfammod. Bydded i'r Henuriaid yn yr holl bethau hyn, wneyd eu dyledswyddau, fel na byddo eu llafur yn ofer yn yr Arglwydd, mewn bedyddio ugeiniau i mewn i'r Eglwys, y rhai nad oes ganddynt amgyffrediadau cywir am bethau Duw, nac archwaeth am danynt, y rhai, ar ol bod yn achos o dramgwydd a rhwystr i ereill, a dorir allan o'r Eglwys, ac yna eu cyflwr diweddaf i fod yn waith na'u dechreuad.

Ni a allem ysgrifenu yn helaeth ar y dyledswyddau, a phortreiadu rhwymedigaethau Henuriaid Israel, y rhai sydd yn ddyledus arnynt i Dduw, i'w gilydd, i'r Saint, ac i'r byd; ac etto yr ydym yn wybodus y gallai hyny fod yn ddiles, pe na baent yn ceisio byw yn ysbryd eu galwedigaeth, a chael oraclau Duw o'u mewn eu hunain. Fe all dyn gael gwybodaeth o'r holl gyfreithiau ysgrifenedig, a'u trysori hwynt yn ddiogel yn ei gof; er hyny, fe gwrdd yn aml ag achosion i'r rhai nad oes un gyfraith ysgrifenedig yn gymhwysiadol, y rhai a ofynant benderfyniad ei farn amgenach ei hun; ac os na bydd efe yn llawn o Ysbryd Duw i wahaniaethu yn mha le y bydd y drwg yn gorwedd, a'i ddethol ef oddiwrth y da, fe fydd yn sychaidd ac yn anffrwythlawn yn ei lafur, a gwarth a fydd cynnyrch ei weinidogaeth. Gan hyny, yr ydym yn teimlo i ddywedyd, bydded i bob un fyned at a dysgu ei ddyledswydd, a chyfreithiau Duw, megys ag y maent yn ysgrifenedig. Fe gafodd y Saint y Beibl o'u blaen er eu plentyndod, ac yn awr hwy a gyfarwyddir i wneuthur eu hunain yn gyfangwbl adnabyddus â Llyfr Mormon, a Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau, a hwy a ddeuant yn fwy cynnefin â chyfreithiau Duw, y rhai yn uniongyrchol a berthyna iddynt. Ceisiwch ddoethineb trwy fyfyrdod, a thrwy Ysbryd Duw yr hwn sydd yn tywys i bob gwirionedd. Darllenwch y *Star*, yr hon a adlewyrcha oleuni ar eich llwybr, ac a'ch galluoga i drysori yn eich cof y cynghorion hyny a roddir er eich iachawdwriaeth, fel y byddo eich goleuni yn eiddo'r cyfiawn, yr hwn sydd yn llewyrchu ddyscleiriach ddyscleiriach hyd ganol dydd.

Mae rhai wedi ymuno â'r Eglwys, oblegid eu bod yn hoffi egwyddorion yr Efengyl, ac y maent yn dra manylaidd yn nghyflawniad eu dyledswyddau ysbrydol, er hyny gadawant iddynt eu hunain yr hawl i reoli eu gorchwylion tymmorol o'r neilldu, fel pe na bae gan Dduw ddim i wneyd â phethau tymmorol. Ni a ddywedwn wrth y cyfryw rai oll, Yr ydych yn twyllo eich hunain, os ydych yn meddwl y gellwch ymgadw unrhyw beth oddiwrth yr Arglwydd, a bod yn gymmeradwy ganddo. Y mae gan yr Arglwydd i wneyd â phethau tymmorol, yn gystal â phethau ysbrydol, a'r daearol yn gystal â'r nefol; ni bydd efe yn gyfrifol am iachawdwriaeth neb ond y rhai hyny y mae efe yn eu llywodraethu, nid yn unig yn eu hachosion ysbrydol, ond tymmorol hefyd. Fe fu Iesu farw i waredu y *corff* oddiwrth farwolaeth trwy nerth yr adgyfodiad; yr ysbryd ei hun nid oedd yn ddigon-

ol. A'r Saint hyny a ymddiriedant iachawdwriaeth eu heneidiau i Offeiriadaeth Duw, ond ni allant ymddiried eu harian, sydd yn gwneuthur gwawd o'u proffes, ac yn bwrw eu hamser ymaith mewn ynfydrwydd. Dymunem ddywedyd wrth bawb o'r cyfryw rai, Ewch, gwerthwch yr hyn oll sydd genych, a chyfranwch at adeiladu Teyrnas Dduw; telwch eich degymiad i ystor-dŷ yr Arglwydd, fel na ddeloch o dan gondemniad y Gyfraith Dragywyddol hon, oddiwrth yr hon nid oes i chwi obaith byth am ryddhâd, cyhyd ag y bydd yr Offeiriadaeth Aaronaidd yn adnabyddus i weinyddu yn negymau y bobl, oddiethr i chwi gael eich difa yn y llosgiad. Nid oes gan yr Arglwydd ond ychydig i wneyd â'r rhai hyny a feddyliant fwy am eu harian, nag am ei gynghor Ef; a'r hwn nad yw yn ffyddlawn dros ei oruchwyliaeth ddaearol, i'w gwneyd yn wasanaethgar i fwriadau Duw, ni raid iddo ddysgwyl y caiff y gwir olud ei ymddiried iddo. Ni a ddymunem wneyd yn hysbys, gan hyny, y bydd yn ofynol ar y rhai hyny a ddosparthant eu harian a'u meddiannau yn ddarpariadol i ymgasgliad y Saint, ag sydd ganddynt ragor na fo yn ofynol er eu cludiad, y dysgwylir arnynt i dalu eu degymiad i'r swyddfa hon, fel y byddo bendith yr Arglwydd arnynt hwy a'u cyfoeth yn dragywydd. Nid ydym yn ewyllysio cuddio y gwirionedd mewn perthynas i'r egwyddorion bywiol hyn, er mwyn dwyn pechodau dynion ereill; y mae genym ddigon o'n heiddom ein hunain i ofalu am danynt, ar ol i ni ddweyd y gwirionedd i'r rhai hyny a deimlant yn awyddus ei dderbyn, a dyfod yn ddieuog ger bron Duw. Nis gall egwyddor o'r fath bwysfawrogrwydd i blant dynion, ag a deilynga i Dduw roddi dadguddiad neillduol mewn perthynas iddi, gael ei phasio heibio, fel peth o ychydig bwys; ond y mae yn gofyn sylw manylaf y Saint hyny a geisiant fyw ar bob gair a ddaw allan o enau Duw.

Y pwnc o ymfudiad sydd un a ystyriwn yn deilwng o sylw yr amser presennol, oblegid ei ganlyniadau i'r Saint, naill ai er gwynfyd neu er gwae. Y mae yn bwnc ar ba un y mae Duw, angylion, a dynion santaidd ar y ddaear, wedi bod yn sylwi arno, ac hebddo, nis gall bwriadau Jehofah gael eu cyflawni, na'r Saint gael eu hachub. Y pwnc hwn a dynodd ein sylw yn fwy neillduol megys yr oeddem yn ystyried cyflyrau amryw o Gynnadleddau hynaf yr Eglwys yn yr Ynysoedd hyn, y rhai a gwympasant i lawr, mewn fath gyflwr o syrthni, a chysgadrwydd annheimladol, ag sydd braidd yn ymddangos yn anmhosibl i'w cyffroi hwynt i deimlad o'u cyflwr, ar yr hyn yr edrychwn fel y canlyniad o iddynt beidio ymgasglu yn brydlawn i Seion.

Pan dderbynia dynion egwyddorion yr Efengyl, a chael eu bedyddio er maddeuant o'u pechodau, a derbyn dawn yr Ysbryd Glân, mae eu cariad yn wresog, eu llawenydd yn fawr, eu ffydd yn gref; a'u gwaith brwdfrydig yn dwyn tystiolaeth o'u cywirdeb; eu gobeithion yn eglur, a'u holl enaid yn ymddangos yn oleu o wybodaeth nefol, tra y mae eu gwynebpryd yn traethu fod Duw yn trigo o'u mewn. Y cyfryw yw y canlyniadau dymunol i

dderbyniad ordinhadau Duw, yn nghanlynwyr ffyddlawn a gostyngedig yr Iesu. Er hyn i gyd, mae amryw yn cyfaddef i ni eu bod yn mhen amser yn colli gwresogrwydd y cariad hwn, a bod eu hymdrechiadau yn gwanychu, eu hysbrydoedd yn ymollwng, a'u huchel-drem yn gwywo ymaith. Paham y mae hyn oll? O herwydd na wnaethant ymgasglu gyda'r Saint, naill ai o ddiffyg tueddiad neu o eisieu modd. Os myn dynolryw i fyw yn ngallu ysbryd Duw, mae yn rhaid iddynt fyw yn ordinhadau Duw, ac nis dichon iddynt fyw yn ordinhadau Duw, oddieithr iddynt eu derbyn, ac ordinhadau Seion nis gellir eu cael allan o Seion. Miloedd o rai a dorwyd allan o'r Eglwys yn yr Ynysoedd hyn o herwydd eu musgrellni a'u difaterwch at y gwaith, a welsant y dydd yn mha un y gallasent ymgasglu gyda'r Saint, a bod mewn cyssylltiad ag ordinhadau santaidd Duw, yr hyn a agorai faes i'w huchel-drem cyfled â thragywyddoldeb, a chyfuwch â Duw ei hun; ond o herwydd eu husgeulusdod yn hyn o beth, y maent yn ymdrabaeddu dan y gwaradwydd o dor-cyfammod, ond pan gyffroer hwynt i deimlad o'u cyflyrau gan lidiogrwydd a soriant yr Hollalluog, hwy a gant weled pa faint a gollasant, ac yr ydym yn teimlo mai felly yn fuan y bydd llawer yn ychwaneg, oni wnant frys i ymgasglu adref, lle y gallant gael adnewyddu eu nerth. Yr unig ffordd ag y mae Duw wedi drefnu er diogelu eu Saint yw, iddynt fyned allan o ganol drygioni, os mynant ddianc rhag ei effeithiau marwol; ac, er pa faint y golygiadau neu'r gobeithion a ellir feithrin i'r gwrthwyneb, yr ydym mewn pob gostyngeiddrwydd yn dwyn ein tystiolaeth, nad oes un gobaith arall o iachawdwriaeth i liaws pobl yr Arglwydd.

Y mae yn ddyledswydd ar yr holl Saint, wedi derbyn yr Efengyl, a chael dysgu iddynt fwriadau yr Arglwydd, i droi eu hystyriaeth at bwnc yr ymgasgliad, megys y peth nesaf ag y mae Duw yn ofyn oddiar eu dwylaw; ac os bydd ganddynt gyfryngau fel y gallont wneyd felly, i ymgasglu yn ddioed, yn yr amser a'r tymmor apwyntiedig. Ac ni ddylai fod yn bwnc o lai dymuniad a gweddi gan y rhai nad oes ganddynt fodd, a chyhyd ag y byddont yn parhau felly, hwy a gant ofal gwyliadwriaeth Duw, ac angylion, i'w cadw yn ffordd y bywyd, ac ni fydd i'w goleuni fyned yn dywyllwch.

Yr ydym yn ymwybodol, fel peth cyffredin, mai y rhai hyny nad oes ganddynt fodd i ymfudo, yw y rhai mwyaf gwresog yn eu dymuniadau. Wrth y cyfryw dymunem ddywedyd, fod yr Ysbryd yn sibrwd wrthym ni, fod yr Arglwydd wedi dyweddio eich achos, a bydd ymfudiad y Saint tlodion o'r wlad hon, y rhai sydd yn tybied nas gallant fyned, yn y tymmor sydd yn dyfod yn fwy nag a fu erioed o'r blaen; a'r cyfryw fesurau a gymmygir mewn amser dyledus, ag a fydd doethineb Duw yn dywys, fel y byddo ei Saint i gael eu casglu yn fynteioedd i'w cartref. Na fyddwch rhy awyddus, ond byddwch barod bob amser i ateb galwad Duw, a chynghor ei weision, y rhai sydd yn rheoli tynghed ei bobl.

Mae amser i ddyfod megys ag y rhag-ddywedodd y prophwyd, pryd na ddywedir mwyach, Byw yw yr Arglwydd yr hwn a ddygodd blant Israel i fyny o'r Aifft, ond byw yw yr Arglwydd yr hwn a gasglodd ei bobl o blith yr holl genedloedd i ba le y gwasgarwyd hwynt; a phe bai deng mil o'r Saint sydd yn awr yn y tir hwn, yn cyfodi a myned i Seion megys y gallent, fe wnai hyny fwy tuag at bregethu yr Efengyl i'r genedl hon, ac i'r holl fyd, nag a allai yr Henuriaid oll wneuthur mewn blwyddyn. Fe roddai hyny enwogrwydd a dylanwad i Seion a'i meibion, ag a deimlid hyd gyrau pellaf y ddaear. A raid i'r Saint fyth nacâu teithio, fel y gwnai plant Israel i dir yr addewid? neu fel y gwnaeth Lehi pan yr aeth allan o Jerusalem, mewn ymchwil am y tir na wyddai am dano, ond yn unig trwy addewid Duw? Os felly, Duw hefyd a nacâ roddi iddynt hwythau yr orphwysfa addawedig.

Bydded i'r Saint fod yn ddoeth, a bydded i'r Henuriaid ddysgu doethineb iddynt. Cedwch eich cannoedd punnau y rhai a deflir ymaith yn ddiles mewn campau pleserus, mewn diotta, mewn myglysu, ac mewn amryw o ymarferion ereill, gwaeth nâ bod yn ddiles, ar ba rai y mae eich moddion a'ch ennill yn afradus yn cael eu gwastraffu i foddio y llygad, ac i ryngu bodd chwantau cnawdol. Cannoedd o Saint a ellid gasglu bob blwyddyn pe bai yr arian a dreulir yn ddiles yn y modd yma yn cael eu bwrw i'r DRYSORFA YMFUDOL. Frodyr a chwiorydd, a gaiff y pethau hyn barhau? A ellwch chwi ddim ymwrthod â rhai o'ch pleserau dros ychydig amser, fel eich sefydler ar eich hetifeddiaeth yn Seion? Cofiwch y bydd eich gwobr yn gymhesur â'ch trafferth; ac os chwennychwch y bendithion mwyaf, dim ond trwy eich ymdrechiadau y gellir eu cael: gan hyny, nac anghofied y cyfoethog ei ddyled tuag at y tlawd, mewn dal i fyny y Drysorfa bwysig hon. Y mae ein teimladau yn wresog gyda'r pwnc hwn, ac nid ydym yn meddwl y byddant yn oerach mwy, cyhyd ag y gallo ein llafur gael ei dreulio ar gasglu y gweddillion gwasgaredig i'r gorlan addawedig, fel y gallo Seion gyfodi ac ymddysclaerio, wedi ei gwisgo mewn gwisgoedd cyfiawnder.

Llawer o addysgiadau a gawsant eu rhoddi, a dyledswyddau y Saint a wnaed yn hysbys iddynt gan ein rhag-flaenoriaid mewn swyddi, gyda'r fath iaith eglur a phwysig, fel nad yw ond ailadroddiad i ymhelaethu arnynt yma. Am hyny, ni a fawr gymmeradwyem ail-edrychiad o'r mynych hyfforddiadau a'r epistolau, y rhai a gyfarchwyd i'r Saint trwy y *Star* am y ddwy flynedd ddiweddaf. Os yw yr addysgiadau hyny yn cael eu cadw mewn côf, a gweithredu arnynt, fe allwn ni gael ein rhyddhau oddiwrth eu hadgoffa dro ar ol tro.

Mewn pethau perthynol i alwedigaeth y swyddfa hon, yr ydym yn dwys obeithio y gwna Llywyddion y Cynnadleddau gadw mewn cof yr angenrheidrwydd mawr o ddyfod yn mlaen i'n cynnorthwyo, trwy fynu gweled y dyledion trymion iddi, yn cael eu tynu i lawr. Y flwyddyn hon yw yr amser i dalu sylw i'r

mater yma, cyn i ymfudiad lliosog leihau eich nifer, oblegid yr ydym yn dymuno o ddifrif allu mewn rhyw fodd, i beidio a rhoddi y gwaith oddiar ein dwylaw i'n holynwr, dan y fath lwyth o ddyled ag a geir yn awr ar ein llyfrau. Frodyr, gwnewch sylw buan o hyn, a bydded i ryw drefniad buan gael ei wneyd o'r mwyfau sydd ar eich dwylaw, a gymmeradwyir gan y Cynnadleddau, a bydded i'r arian gael eu danfon i ni, fel y gallom dalu ein dyledion, a chael ein rhyddhau oddiwrth daer-ymgais ein gofynwyr. Yr ydym yn chwennych bod yn rhyddion, a gweled pawb ereill felly, mor belled ag y byddo modd, trwy rodio o honynt yn y rhyddid hwn y mae yr Efengyl yn roddi iddynt i weithredu yn gyfiawn.

Y mae'r byd mewn caethiwed gan elw-offeiriadaeth a choelgrefydd, yr hyn sydd yn tywyllu y meddwl, ac yn dinystrio galluoedd yr enaid, ynghyd â syniad cywir o'r rhwymedigaethau ag sydd ar un dyn i'r llall, yn eu perthynas i bethau tymmorol ac ysbrydol. Serch naturiol sydd yn agos i ddiflanu o blith dynion, a thrueni, llygredigaeth, a gwae a edrychir arnynt gyda'r holl glaiarineb, ïe, hyfrydwch hefyd, yr hwn a berthyn yn fwyaf priodol i fro y damnedigion, ond yn lle hyny yn awr yn gyd-fynedol â llwybrau beunyddiol dynion. Y tlawd a ddirmygir ac a orthrymir gan y cyfoethog. Penrhyddid, a'i holl ddrygau, yn araf-gamu yn ddifwgwd oddiamgylch, heb un gwrid o gywilydd, ac nid yw ond yn gofyn trwydded er cyfreithloni ei barchedigrwydd, a'i wneuthur yn rhinwedd yn ngolwg cyfraith. Fel hyn y mae pechod yn llywodraethu yn orfoleddus, o balas y tywysog i fwthyn y gwreng, tra y mae santaidd ordinhadau Duw yn cael eu mathru dan draed gyda sarhaus atgasrwydd.

Y cyfryw yw yr elfenau â pha rai yr amgylchynir y Saint tra yn y byd hwn, a'r dylanwadau â pha rai y maent i wrthryfela. Gwir ddedwydd yw y Sant hwnw yr hwn sydd â'i wisg yn ddifrycheulyd—yr hwn y mae ei gymmeriad heb ei lychwino gan gysgodau euogrwydd, oblegid y cyfryw yw y rhai hyny a gânt ffafr gyda Duw; tra y byddo y rhai hyny a aberthasant rinwedd a diniweidrwydd am ofer chwantau, yn wylofain am golli y *gem anmhrisiadwy* hon. O chwychwi Saint Duw, rhodiwch yn deilwng o'r alwedigaeth uchel â pha un eich galwyd, a gochelwch bob ffordd ddrwg, gadewch o'r neilldu bob dymuniad ansantaidd, a bydded eich gwg yn ddychryn i weithredwyr anwiredd, bydded eich esiamplau yn gyfryw a fyddo cyfraith yn gymmeradwyo, a Duw yn fawrygu.

Yn olaf, dywedwn wrth yr holl Saint, Gwisgwch am danoch holl arfogaeth Duw, fel y galloch sefyll yn anorchfygedig i alluoedd yr un drwg; byddwch yn unol yn nhrefniad yr Offeiriadaeth Santaidd, ac nis gall neb lwyddo yn eich erbyn. Amryw yw yr annogaethau sydd yn aros o flaen y Saint er eu cysur a'u cefnogrwydd; y mae ffafr Duw yn aros ar y bobl hyn, a llwyddiant a ganlyn eu llafur yn y mynyddoedd. Y rhai a fynent eu drygu a ddygwyd i warth, a'u ffolineb a wnaed yn amlwg ger-

bron dynion; pan geisiodd y drygionus eu dinystrio, yr Arglwydd a ddangosodd ei allu, trwy ddyrchafu ei bobl, a hwy a orfoleddasant dros eu gelynion. Braich y gormeswr a gyfodwyd yn ofer, ac a syrthiodd yn wyrgam, gan roddi ergyd marwol iddo ei hun. Yr Arglwydd a roddodd i'w bobl lywodraethwyr yn ol dymuniad ei galon ei hun, a'r neb a faedda roddi tramgwydd a gaiff gyfiawnder yn y ffordd: oblegid hyn, y fechan a wnaed yn fil, a'r wael yn genedl gref. Sicr gwaith yr Arglwydd ydyw, a rhyfeddol i edrych arno: am hyny bydded yr holl ddaear i fawrygu Seion, oblegid yr Arglwydd yw ei chyd-ymaith; bydded i'r holl Saint gyduno adeiladu ei dinasoedd hi, fel y gallont gael cymmeradwyaeth o fewn i'w phyrth; bydded iddynt ddwyn eu haur a'u harian, er adeiladu ac addurno ei Themlau, fel y gallont gyfranogi o'r gogoniant a ddadguddir ynddynt, ac os gwnant y pethau hyn, gan rodio yn ostyngedig gerbron yr Arglwydd, ni fethant etifeddu bywyd tragywyddol.

Bydded i Arglwydd Dduw Israel fendithio ei bobl yn mhob man, ie, yr holl rai ag sydd â'u hymgais i sefydlu cyfreithiau y nef ar y ddaear, a'u cadw hwynt i etifeddu heddwch a ffafr Duw yn dragywydd. Hyn yw gweddi eich gostyngedig was, yn enw Iesu Grist. Amen.

S. W. RICHARDS,

Llywydd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn yr Ynysoedd Prydeinig.

---

☞ Mae y parhad hwn o'r Epistol wedi ei gyfieithu gan y brawd Thomas Job, a'r dechreuad genym ninnau. Gobeithiwn y gwna yr holl Saint ddefnydd da o'r Epistol hwn etto, canys gwyddom ei fod yn cynnwys sylwadau tra gwerthfawr; a gobeithiwn hefyd y darllenir ef yn gyhoeddus yn mhob Cangen.—GOL.

---

## ANRHYDEDD.

ANRHYDEDD 'nillwyd trwy weithredoedd da,
A chostiodd amryw ymdrechiadau drud;
Ond unrhyw weithred wael fe ddichon wna
I'w uchel fri fel niwl ddiflanu 'gyd.
Pa les fydd taeraf ymdrechiadau dyn,
Os troi yn ol cyn cyrhaedd pen y daith?
Ni fydd ond diystyrwch iddo'i hun,
Yn ail i Judas a'i fradwrus iaith.

Pa ddyn na chofia am ei lafur blin,
A'i ddwys fyfyrion aml noson faith?
Achosa ymlid cwsg—bod ar ddihun,
A'r meddwl yn grwydredig ar ei daith:

Edrycha'n mlaen drwy risial feddwl-ddrych,
I Ddyffryn hardd Mynyddoedd Ephraim draw,
Nes canfod yr holl adeiladau gwych,
Diwydrwydd y Mormoniaid ar bob llaw.

'Rhai gynt oedd nodau dirmyg bonedd byd,
I'r goedwig fel bwystfilod cawsant ffoi;
Ond heddyw er eu gwarth a'u dirmyg 'gyd,
Yr anial sydd fal Eden wedi'i droi.
Yr anial drow'd oedd loches anwar lu,
Fel gardd flodeuog frâs arogla'n bêr,
A ffrwythau diniweidrwydd, lafur cu,
Sydd eiddynt hwy, dan nawdd eu nefol Nêr.

Fel Crist, yn wrthrych câs ei gyd-oes-wyr,
Am ei gyfiawnder dirmygasant Ef;
Ei eiriau oedd yn llym fal saethau dur,
Yn brathu yr anghyfiawn wrth ei lef.
Ei brudd och'neidiau esgynasant fry
I glyw ei Dad, a'i ddiystyrwch mawr;
Rhag ei elynion, gorfod ffoi yn hy,
A chrwydro heb un lle roi pen i lawr.

Pa fwyaf wnelai Ef o waith ei Dad,
Fal marwor ysai yr anghyfiawn rai,
Nes lliwio'r glaswellt gwyrdd yn goch â'i wa'd,
Yn hwn ni chawsai'r llys gyfreithlon fai.
Pa le eisteddai rheswm y gwyr hyn?
Coleddwyr twyll, a'i weithrediadau drwg,
Hwy haerent gelwydd noeth, fal du yn wyn,
Ar drais orseddau rhagfarn erchyll ŵg.

Er rhoi ei waedlyd gorff mewn daear oer,
A milwyr Groeg i wylied wrth ei fedd,
Dyrchafodd yn fuddugol Arglwydd Iôr,
Mae heddyw mewn gogoniant ar ei sedd.
Y sawl ganlyna ôl ein Iesu mâd,
Trwy'r llwybr cul yr hwn ymdeithiodd Ef;
Fal ar yr eira gwyn mae ôl ei draed,
Yn troedio euraidd lwch y drydedd nef.

Gweddïa'n brudd a dwys gerbron ei Dad,
Am fod i'w Saint yn amddiffynfa glyd,
Y rhai sydd etto 'nol mewn enbyd wlad,
Fal lle'r y'm ninnau 'nawr boed hwythau gyd;
Pwy ddirnad ei anrhydedd Ef yn awr,
Oedd waelach gynt nag anifeiliaid maes?
Boed in' ei efelychu Ef bob awr,
Er ennill in' anrhydedd mawr trwy râs.

*Chynmil.* JOHN WILKINS.

# MYNEGIAD CYFRIFIADOL

## O EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG,

*Am yr Hanner blwyddyn yn terfynu Meh. 1, 1852.*

| *Cynnadleddau.* | *Cang.* | *D.* | *A.* | *Hen.* | *Off.* | *Ath.* | *Di.* | *Tor.* | *Mar.* | *Ymf.* | *Bed.* | *Oll.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 Manchester ...... | 33 | 1 | 0 | 140 | 102 | 111 | 54 | 102 | 22 | 40 | 208 | 3048 |
| 2 Llundain ........ | 35 | 1 | 0 | 159 | 121 | 98 | 67 | 92 | 15 | 31 | 373 | 2359 |
| 3 Birmingham...... | 18 | 2 | 0 | 105 | 122 | 85 | 43 | 141 | 6 | 17 | 196 | 1957 |
| 4 South............ | 29 | 1 | 0 | 49 | 84 | 75 | 46 | 79 | 10 | 12 | 116 | 1173 |
| 5 Liverpool ........ | 10 | 1 | 0 | 55 | 47 | 45 | 25 | 48 | 5 | 62 | 75 | 1056 |
| 6 Norwich ........ | 24 | 1 | 0 | 50 | 58 | 36 | 27 | 38 | 9 | 16 | 189 | 1003 |
| 7 Sheffield ........ | 21 | 1 | 0 | 42 | 75 | 42 | 24 | 77 | 6 | 11 | 74 | 963 |
| 8 Herefordshire .... | 29 | 1 | 0 | 75 | 62 | 49 | 24 | | | | | 907 |
| 9 Nottinghamshire.. | 16 | 0 | 0 | 46 | 44 | 41 | 22 | 50 | 3 | 0 | 105 | 905 |
| 10 Cheltenham ...... | 20 | 0 | 0 | 67 | 52 | 39 | 26 | 61 | 6 | 8 | 87 | 902 |
| 11 Bradford ........ | 19 | 0 | 0 | 59 | 70 | 48 | 19 | 35 | 6 | 22 | 88 | 874 |
| 12 Warwickshire .... | 29 | 0 | 0 | 76 | 52 | 36 | 16 | 27 | 11 | 15 | 45 | 725 |
| 13 Preston.......... | 13 | 0 | 0 | 60 | 44 | 33 | 13 | 20 | 6 | 17 | 19 | 688 |
| 14 Worcestershire .. | 17 | 0 | 0 | 41 | 36 | 21 | 14 | 53 | 4 | 22 | 52 | 647 |
| 15 Newcastle-on-Tyne | 16 | 0 | 0 | 69 | 47 | 23 | 15 | 76 | 6 | 17 | 77 | 614 |
| 16 Southampton .... | 15 | 0 | 0 | 24 | 30 | 22 | 10 | 37 | 6 | 3 | 121 | 611 |
| 17 Bedfordshire .... | 17 | 1 | 0 | 45 | 41 | 24 | 20 | 81 | 3 | 11 | 49 | 608 |
| 18 Staffordshire .... | 15 | 0 | 2 | 57 | 44 | 28 | 17 | 48 | 2 | 6 | 58 | 571 |
| 19 Reading.......... | 17 | 0 | 0 | 44 | 36 | 24 | 13 | 21 | 2 | 16 | 141 | 558 |
| 20 Kent ............ | 16 | 0 | 0 | 39 | 35 | 25 | 14 | 14 | 1 | 0 | 85 | 523 |
| 21 Lincolnshire .... | 20 | 0 | 1 | 37 | 37 | 26 | 8 | 26 | 3 | 6 | 39 | 518 |
| 22 Derbyshire ...... | 14 | 1 | 0 | 34 | 34 | 23 | 10 | 39 | 5 | 4 | 71 | 423 |
| 23 Leicestershire .... | 9 | 1 | 0 | 27 | 22 | 15 | 12 | 26 | 3 | 3 | 65 | 402 |
| 24 Hull ............ | 6 | 0 | 0 | 20 | 12 | 21 | 5 | 20 | 0 | 7 | 31 | 311 |
| 25 Essex ............ | 12 | 0 | 0 | 28 | 14 | 13 | 10 | 21 | 3 | 6 | 57 | 308 |
| 26 Cambridgeshire .. | 11 | 0 | 0 | 20 | 29 | 17 | 10 | 14 | 1 | 8 | 56 | 296 |
| 27 Dorsetshire ...... | 6 | 0 | 0 | 9 | 14 | 9 | 11 | 20 | 1 | 0 | 28 | 256 |
| 28 Shropshire ...... | 9 | 0 | 0 | 20 | 16 | 9 | 8 | 31 | 3 | 3 | 21 | 248 |
| 29 Land's end ...... | 6 | 0 | 0 | 9 | 11 | 7 | 3 | 3 | 1 | 0 | 60 | 192 |
| 30 Carlisle .......... | 6 | 0 | 0 | 16 | 7 | 9 | 6 | 6 | 1 | 3 | 6 | 142 |
| 31 Glasgow ........ | 30 | 1 | 0 | 118 | 83 | 111 | 37 | 149 | 7 | 52 | 146 | 2044 |
| 32 Edinburgh ...... | 20 | 0 | 0 | 53 | 46 | 40 | 15 | 36 | 6 | 18 | 25 | 763 |
| 33 Dundee .......... | 7 | 0 | 0 | 14 | 15 | 16 | 10 | 26 | 3 | 3 | 28 | 347 |
| 34 Morganwg Ddwyr. | 32 | 0 | 3 | 249 | 137 | 136 | 109 | 119 | 32 | 15 | 180 | 2385 |
| 35 Sir Fynwy........ | 20 | 0 | 0 | 90 | 36 | 44 | 32 | 42 | 2 | 7 | 78 | 747 |
| 36 Sir Gaerfyrddin .. | 18 | 0 | 0 | 84 | 21 | 25 | 20 | 8 | 5 | 5 | 41 | 536 |
| 37 Morganwg Orllew. | 17 | 0 | 0 | 71 | 34 | 28 | 21 | 57 | 5 | 11 | 44 | 477 |
| 38 Sir Frycheiniog .. | 9 | 0 | 0 | 35 | 9 | 9 | 8 | 8 | 3 | 1 | 19 | 166 |
| 39 Sir Benfro......... | 11 | 0 | 0 | 28 | 9 | 17 | 5 | 11 | 1 | 0 | 22 | 160 |
| 40 Sir Ddinbych .... | 6 | 0 | 0 | 14 | 7 | 8 | 3 | 4 | 0 | 5 | 18 | 145 |
| 41 Sir Aberteifi ...... | 6 | 0 | 0 | 19 | 6 | 3 | 2 | 1 | 0 | 0 | 11 | 128 |
| 42 Sir Fflint ........ | 4 | 0 | 0 | 16 | 9 | 3 | 1 | 2 | 1 | 0 | 18 | 105 |
| 43 Sir Feirionydd .... | 6 | 0 | 0 | 20 | 5 | 2 | 1 | 4 | 0 | 2 | 3 | 78 |
| 44 Sir Fôn .......... | 6 | 0 | 0 | 13 | 9 | 4 | 1 | 0 | 0 | 0 | 0 | 77 |
| 45 Gogledd Penfro .. | 4 | 0 | 0 | 13 | 3 | 4 | 2 | 2 | 0 | 0 | 9 | 73 |
| 46 Dyffryn Conwy.... | 3 | 0 | 0 | 9 | 2 | 3 | 2 | 4 | 0 | 0 | 3 | 54 |
| 47 Belfast .......... | 5 | 0 | 0 | 8 | 7 | 5 | 3 | 12 | 1 | 1 | 13 | 102 |
| 48 Dublin (Cangen) .. | 1 | 0 | 0 | 5 | 0 | 0 | 1 | 3 | 0 | 0 | 3 | 33 |
| 49 Londondery etto .. | 1 | 0 | 0 | 3 | 3 | 1 | 0 | 0 | 0 | 0 | 1 | 27 |
| 50 Isle of Man ...... | 3 | 0 | 0 | 13 | 6 | 3 | 2 | 1 | 0 | 10 | 11 | 105 |
| Cyfanswm.... | 717 | 14 | 6 | 2406 | 1935 | 1516 | 867 | 1795 | 216 | 496 | 3265 | 32340 |

SYLW.—Dywed Golygydd y *Star* fod y cyfanswm yn 1312 yn llai nag y dylai fod, os oedd y mynegiad diweddaf yn gywir, a dymuna wybod yn mhle'y mae'r camsynied.

# Y LLYWYDDIAETHAU.

## LLYWYDDIAETH YR EGLWYS YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG.

LLYWYDD.

Samuel W. Richards.

CYNGHORWR.

Levi Richards.

## LLYWYDDIAETH YR EGLWYS YN NGHYMRU.

LLYWYDD.

William S. Phillips.

CYNGHORWYR.

John Davis, Thomas Pugh.

## LLYWYDDION ADRANAU.

| LLYWYDD. | ADRAN. |
|---|---|
| C. H. Wheelock, | Cynnadleddau Manchester, Liverpool, a Preston. |
| Jacob Gates, | Cynnadleddau Llundain, Reading, Kent, ac Essex. |
| Isaac C. Haight, | Cynnadleddau Birmingham, Cheltenham, South, Worcestershire a Bedfordshire. |
| A. M. Harmon, | Cynnadleddau Newcastle-on-Tyne, Hull, a Carlisle. |
| Moses Clawson, | Cynnadleddau Lincolnshire, Bradford, Derbyshire, a Warwickshire. |
| Robert Campell, | Cynnadleddau Glasgow, Edinburgh, a Dundee. |

## LLYWYDDION AC YSGRIFENWYR CYNNADLEDDAU.

| LLYWYDDION. | YSGRIFENWYR. | LLYWYDDION. | YSGRIFENWYR. |
|---|---|---|---|
| 1 Jonathan Midgely, | James Johnson | 26 J. V. Long, | G. Bramwell |
| 2 James Marsden, | T. C. Armstrong | 27 Edward Frost, | Joseph Pring |
| 3 Abraham Marchant | Charles Jones | 28 Charles Derry, | D. James, jun. |
| 4 George Halliday, | Henry Fulstone | 29 W. G. Mills, | Samuel Francis |
| 5 A. F. Mc Donald, | John R. Winder | 30 A. M. Harmon, | |
| 6 C. V. Spencer, | John Harriss | 31 John Lyon, | Patrick Lynch |
| 7 John Albiston, | | 32 T. W. Brewerton, | Geo. P. Waugh |
| 8 Vincent Shurtleff, | | 33 J. Mc. Naughton, | James Mair |
| 9 Henry Savage, | John Wigley | 34 Thomas Pugh, | William Jones |
| 10 John Hyde, sen., | William Clarke | 35 Thomas Giles, | G. W. Davis |
| 11 Robert Menzies, | Robert Menzies | 36 Abednego Jones, | Isaac Jones |
| 12 Wm. Speakman, | Richard Tilt | 37 Robert Evans | Geo. Bywater |
| 13 J. W. Young, | John Foley | 38 John Roberts, | Thos. Morgan |
| 14 Matthew Rowan. | John Kelly | 39 John Price, | Dan. Williams |
| 15 William Mc. Ghie, | Robert Hazon | 40 John Parry, | H. C. Morris |
| 16 Richard Rostron, | Chas. Kemish | 41 John Evans, | David John |
| 17 Job Smith, | Jas. Pembroke | 42 William Parry, | William Parry |
| 18 James F. Bell, | J. O. Walker | 43 William Richards, | David Roberts |
| 19 Thomas Squires, | Henry Kendall | 44 William Simms, | Dd. Needham |
| 20 John W. Lewis, | Stephen Hale | 45 Philip Sykes, | Thomas Evans |
| 21 John Carmichael, | Edward Weaver | 46 John Davies, | William Davis |
| 22 George Kendall, | John Bush | 47 Gilbert Clements, | Samuel Ferris |
| 23 John O. Angus, | Thos. Hanald | 48 Edward Sutherland, | H. E. Bowring |
| 24 John T. Hardy, | A. S. Green | 49 R. G. Frazer, | H. Sheppard |
| 25 Martin Slack, | S. Forsdick | 50 John Kelly, | T. B. Bourne |

## AMRYWIAETHAU, &c.

Ffrainc.—Oddiwrth lythyr a dderbyniwyd oddiwrth yr Henuriad Curtis E. Bolton, o Ffrainc, ymddengys fod gwaith Duw yn y wlad hono, megys yn ail ddechreu yn lled lwyddiannus, er cymmaint fu y rhwystrau. Yr ydys wedi cael caniatâd o'r diwedd i bregethu yn gyhoeddus, yr hyn a ddechreuwyd y mis diweddaf yn Paris, ac y mae pymtheg wedi eu bedyddio eisoes, ac argoelion o lwyddiant mawr. Mae y brawd Bolton wedi dyoddef llawer a gweddio llawer, cyn cael gweled cymmaint â hyn; eithr mae ei galon yn llawenhau yn bresennol, a theimla yn fwy nag erioed i dreulio ei holl nerth yn ngwaith ei Arglwydd.

Hindoostan etto.—Ymddengys wrth lythyr diweddarach oddiwrth yr Henuriad Wm. Willis, fod y Saint yn lliosogi yn gyflym yn y parth pellenig hwnw, a bod yr Eglwys yno, yn Mai 2, 1852, yn cael ei chynnrychioli fel y canlyn:—Tri Henuriad, 8 Offeiriad, 9 Dysgawdwr, 8 Diacon, a 122 o Aelodau; y cyfanswm yn 150 (oddiar Nadolig diweddaf).

Diod Barod.—5 wns o siwgr gwyn wedi ei bowdro; 5 dram o *carbonate of soda*; 1 dram o ginger wedi ei bowdro. Cymmysger hwynt, gan eu gwahanu i 24 papyr glas. Etto, 6 dram o *tartaric acid*, wedi eu gwahanu i 24 papyr gwyn. Yna gosoder cynnwysiad un o bob un o'r papyrau, mewn hanner gwydraid o ddwfr ffynnon, gan ei yfed yn uniongyrchol. Gellir cael y cyfan, ond y siwgr, trwy eu rhanu eich hunan, am oddeutu 3c. Arllwyser y papyr glas i'r dwfr yn gyntaf, ac yna y llall. Os byddwch am flas arall, ychwanegwch 40 dyferyn o *essence of spruce*, ac 1 wns yn llai o siwgr.

---

Taliadau o Meh. 25 hyd Gorph. 8.—Pontytypridd, £2 0s 5c; Dowlais, 10s 11c; Hirwaen, 10s; Georgetown, 16s; Merthyr, £3 3s 7¼c; Gwernllwyn, 8s 6c; Ffynnon-Tydfil, 5s 11c; Troedyrhiw, 4s 6c; T. Pugh, 2s 6c.—Cyfanswm, £8 2s 4¼c.

☞ Dymunwn hysbysu y Llywyddion a'r Dosparthwyr fod y chwarter diweddaf wedi terfynu ar y 3ydd o Orphenaf, a bod y *balance* yn cael ei ddanfon i bob Dosparthwr. Bydd y chwarter hwn yn terfynu ar y dydd diweddaf o Fedi, a'r holl chwarteri ereill o hyn allan ar y dydd diweddaf o Ragfyr, Mawrth, a Mehefin.

Traethodau ar Wyrthiau.—Mae y 4ydd Rhifyn yn cael ei ddanfon allan gyda yr Udgorn hwn, ac y mae'r 5med yn y wasg yn awr. Yna dim ond un fydd ar ol. Yr ydym yn diolch am y gefnogaeth a gawsom, a chredwn y gwneir daioni trwyddynt.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, GEORGETOWN, MERTHYR.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 15.] GORPHENAF 24, 1852. [CYF. IV.

## SEITHFED EPISTOL CYFFREDINAWL LLYWYDDIAETH EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, O DDYFFRYN Y LLYN HALEN FAWR, AT Y SAINT GWASGAREDIG TRWY YR HOLL FYD,

YN ANERCH :—

ANWYL FRODYR,—Llawer o bethau a ddaethant i'r amlwg i sirioli ein calonau, a chefnogi ymdrechiadau y ffyddlawn oddiar dyddiad ein Hepistol diweddaf, sef Medi 22, ac yr ydym yn defnyddio yr adeg bresennol er cyflwyno i chwi ein cyfarchiad blynyddol, fel y galloch fod yn hyddysg yn rhagorfreintiau Seion, a chydlawenhau â hi yn ei holl lwyddiant.

Y gauaf diweddaf a fu yn anarferol o dirion yn y dyffrynoedd hyn, yn gymmaint ag i'n deadellau a'n praidd, mor belled ag y cawsant ryddid i grwydro i gael eu porthi mor ddigonol, fel nad oedd anghen dim gwair; llawer o wenith a hauwyd, ac mewn amser cynnarach nag sydd yn arferol yn y wlad hon ; a llawer o adeiladau a gwblhawyd neu a gyfodwyd, wedi yr amser arferol o ddarfod gorchwylion yr Hydref. Bwa cyntaf ein Tabernacl Newydd a gyfodwyd ar yr 21ain o Dachwedd, a'r oll a astellwyd ac a amgaewyd Ionawr 16. Cant a chwech ar hugain o droedfeddi o hyd, a phedair a thrugain o led, gan fur o dair troedfedd ei drwch ; y cwbl yn un bwa cyfan yn esgyn yn raddol oddiar y sylfaen. Yr areithfa sydd yn sefyll yn agos i ganol y mur gorllewinol, a'r fynedfa iddo o'r cyntedd tu-ol neu'r wisgfa ; yr esgynfeydd a gyfodant ar dri thu yr areithfa, fel y byddo y rhag-welediad yr un mor fanteisiol ; ac oddeutu 2,200 o wran-

dawwyr a ellir eu cyfleu ynddo yn gysurus; y cwbl a orphenwyd ac a gyssegrwyd ar y 6fed o'r mis hwn, sef ar agoriad y Gynnadledd Gyffredinol, ac erioed ni ddarfu Saint y Dyddiau Diweddaf ymgynnull mor lliosog a chyfleus ar un achlysur blaenorol.

Cyfran cryn helaeth o'r ddaear a gloddiwyd yn barod i dderbyn mur gwarchae y Deml, ac y mae llawer o geryg eisoes ar y fan. Y brodyr gan amlaf a ddangosasant y parodrwydd mwyaf i dalu mewn y ddegfed o'u heiddo yn ol eu pleidlais yn Nghymmanfa mis Medi diweddaf; ac ni bu ystordy yr Arglwydd erioed o'r blaen mor orlawn o wenith, cig, ymenyn, wyau, llysiau, a phethau defnyddiol ereill, a'i borfeydd o anifeiliaid, ag yw ar yr amser presennol.

Ychydig iawn o arian bathol a gylchredegodd yn ein mysg y flwyddyn ddiweddaf, yr oeddynt wedi cael eu gwario yn flaenorol ar nwyddau o fanau pellenig, y rhai ag oedd yn anghenrheidiol er ein cysuron; ond yn ddiweddar, diffyg arian i brynu nwyddau pellenig, a anogodd y bobl i ymosod ar law-weithydd teuluaidd mor fuan ag oedd modd. Gweithfa wlan fechan a ddechreuwyd yn y dyffryn hwn y flwyddyn ddiweddaf, a dysgwylir ei gosod mewn gweithrediad tua chanol yr haf; ac un arall yn Nyffryn Utah erbyn gwlan y flwyddyn hon. Llawer o law-rodau ac o wŷddau a fu mewn gweithrediad mewn teuluoedd, ac amryw filoedd o latheni o frethyn a weithiwyd, heblaw llawr-leni, menyg, hosanau, &c.

Heblaw crochandŷ Deseret yn y Ddinas hon, un arall a agorwyd yn Provo, yn swydd Utah, ac un arall etto a ddysgwylir ei ddechreu yr haf hwn yn Fillmore, yn swydd Millard. Peiriant at weithio cribau sydd hefyd yn agos bod yn barod i'w roi mewn gweithrediad. Y mae gweithfa hoelion mewn gweithrediad yn swydd Haiarn, un arall yn San Pete, ac un arall yn cael ei hadeiladu yn y Ddinas hon. Y mae adeiladu yma wedi cael mawr rwystr hyd yn hyn o eisieu hoelion, ond y mae genym ymddiried y caiff hyn ei wneuthur i fyny yn fuan, trwy ddefnyddioldeb peiriannaeth artrefol. Y rhan amlaf o'r prif sefydliadau sydd ganddynt gyflawnder o felinau peilliaid, a pha le bynag y byddo diffyg, melinau a adeiladir yno. Rhifedi y melinau llifio sydd beunydd yn cynnyddu. Y mae'r wlad hefyd yn cael eu digoni o gawgiau coed, oddiwrth weithfa yn Provo.

Taaneriaeth hefyd a ddechreuwyd yn y rhan amlaf o'r prif

sefydliadau, ac mewn rhai manau y mae dau neu dri, ac ar ol un tymmor arall o bilio coed fe fydd y golygiad yn dda am lawnder o ledr cartrefol.

Y mwn haiarn yn Coal Creek, yn swydd Haiarn, a fu dan brawf, ac a brofwyd ei fod yn ddefnydd rhagorol, er mai ychydig a allwyd wneyd etto o eisieu glo, o'r hwn y mae digonedd ar y mynydd cyfagos, ond yn anghyrhaeddadwy i bedrolfeni hyd nes y gellir gwneyd ffordd, at yr hon y mae rhyw gymmeradwyaethau cyhoeddus wedi eu derbyn.

Y *Deseret News*, yr hwn a oediwyd o eisieu pabyr, a ddechreuodd ei ail gyfrol, Tachwedd y 15fed, ar bapyrlen helaethach, ac a effeithiodd ddylanwad iachusol ar y pwnc o weithfeydd teuluaidd, ac y mae ymdrech cyffredinol yn mhlith y bobl, i ddwyn yn mlaen y gwahanol bethau anghenrheidiol, er eu gwasanaeth; ac y mae cadeirau, byrddau, saf-ddaliaid, ystwciau, twbäau, barilau, cyllill, a llawer o nwyddau defnyddiol ereill, yn dyfod yn fwy cyffredin yn ein marchnadoedd.

Y Deddfwyr tiriogaethol a gynnullasant yn y Ddinas hon ar yr 22ain o Fedi, ac ar ol eisteddiad byr, wedi sefydlu y gadair lywodraethol yn ddinas Fillmore, yn swydd Millard, ac appwyntio dirprwywyr i ddewis safle y cabidwl, &c., a ohiriwyd hyd y Llun cyntaf yn Ionawr, pryd yr adgynnullasant, ac ar ol ordeinio amryw ddeddfau cyffredinol er buddioldeb y diriogaeth (y rhai ydynt yn awr yn y wasg), a chofnodi y Senedd er derbyn cymmeradwyaethau, er gwneuthuriad ffordd genedlaethol, rheilffordd, a thelegraph, o afon Missouri i'r cyffiniau gorllewinol; sef ffordd yn rhedeg o'r gogledd i'r deau trwy y diriogaeth; hefyd er adeiladu yspytty a phenydfa; a sefydlu ffordd llythyr-gerbyd oddiyno i San Diego; llythyr gerbyd-wythnosol i'r Talaethau; a swyddlythyr ddosparthiedig; a llawer o ddiwygiadau cyhoeddus ereill, a ohiriwyd ar y 14eg o Chwefror.

Y Llywydd Orson Hyde a adawodd y ddinas hon i fyned i Kanesville ar y 23ain o Fedi; Ezra T. Benson a'i canlynodd ef dranoeth i'r un lle, yn nghwmniaeth yr Henuriad J. M. Grant i Washington, a Samuel W. Richards, ac ereill a enwyd yn ein Hepistol diweddaf, i Loegr, Germany, &c.

Medi 25, 1500 pwys o had betys siwgr a dderbyniwyd yma oddiwrth yr Henuriad Taylor yn Ffrainc; ac yr ydym wedi ein hysbysu fod peiriannaeth at weithfeydd siwgr a gwlan, a nodasom

yn flaenorol, yn awr yn Kanesville, ac a gyrhaeddant yma y tymmor hwn.

Fe gyrhaeddodd yr Henuriad Orson Pratt yma o Loegr ar y 4ydd o Hydref, ac a ddygodd gydag ef yspïenddrych rhagorol, ac hefyd chwyddwydr (*telescope*, a *microscope*), a darlunbelau (*globes*), prawfiadau fferyllaidd, ac esiamplau mwnyddiaeth; yr oll o ba rai ydynt gaffaeliadau tra defnyddiol, yn nygiad yn mlaen adchwiliadau cefyddydawl. Llyfrau Llyfrgell Utah a ddisypynwyd, ac a gafwyd mewn trefn dda, llawer o amrywiaethau, ac o ddetholiad dewisol. Cynnadledd Medi, yr hon a ohiriwyd hyd y 6fed o Hydref, a gynnaliwyd ac a derfynwyd ar y dydd hwnw.

Y Dirprwywyr a appwyntiwyd gan y Llywodraeth i sefydlu lle y cabidwl yn Fillmore, a adawsant y ddinas hon Hydref 24ain, yn nghwmnïaeth y brodyr Young, Kimball, ac ereill, y rhai a ymwelsant â Fillmore, Manti, Nephi, Provo, a llefydd ereill, ac a ddychwelasant Tachwedd 7fed. Y Llywodraeth a gymmeradwyodd gyhoeddiad y Dirprwywyr, yn cadarnhau saf-le yr adeiladau cyhoeddus yn Fillmore, 38gr. 58m. 40s. N. L; 4,789 troedfedd o uchder; a dynion a ymrwymwyd i'w hadeiladu. Y Llywodraethwyr a barhant i ymgynnull yn y ddinas hyd nes y byddo y cabidwl newydd yn barod i'w derbyn, gan iddynt gymmeryd y Cynghor-dŷ at y perwyl hyny.

Y cwmpeini diweddaf o Saint ymfudol a gyrhaeddasant yma Hydref 24ain, y mynyddoedd a'r bwrdd-diroedd oeddynt orchuddiedig gan eira, am y waith gyntaf yn yr hydref diweddaf, Tachwedd 10, ac a ganlynwyd y dydd nesaf gan y cwthynau mwyaf llymdost o wynt a wybuwyd erioed yn ein Dyffryn, yn mha le ni chwympodd ond ychydig o eira trwy y gauaf, ac ni arosodd ond ychydig o amser. Ysgolion a fuont yn aml yn y gwahanol Esgobaethau a dosbarthiadau, a hwy a fynychwyd yn dda. Y fam-ysgol a gynnaliwyd o dan ofal y Canghellwr Spencer, ac ereill. Y Proffeswr Pratt a roddodd gylch o ddarlithiau ar Astronomyddiaeth, a phob ymdrech galluadwy a wnaed er helaethu y wybodaeth o wyddorion a chelfyddydau.

Un llythyr-god a dderbyniwyd o Oregon er yr hydref diweddaf, a hyny ar y 10fed o'r mis hwn. Llythyr-god Tachwedd o Sacramento a dorwyd ymaith ac a gollwyd, a'r dygiedyddion yn ddiddadl a laddwyd gan Indiaid yr afon Mary, er fe gafwyd corff Mr. Woodward ddeng milltir ar hugain y tu hwnt i'r afon Arth.

Ni dderbyniwyd un llythyr-god o'r Taleithiau wedi yr hwn a adawodd Independence ar y !af o Ragfyr, hyd y 3ydd o'r mis hwn; o ganlyniad, ni chawsom ond ychydig o hyfforddiadau perthynol i sefyllfa cenadiaethau pellenig. Oddiwrth yr hanesion diweddaraf ni a allwn yn rhesymol ddysgwyl fod yr Henuriaid John Taylor, a F. D. Richards yn awr ar eu ffordd adref; a'r Henuriad Erastus Snow sydd yn Calcutta (lle y sefydlwyd cenadiaeth y flwyddyn ddiweddaf), gan ddysgwyl cael dychwelyd dros y Mor Tawel. Yr oedd y gwaith yn llwyddiannus yn Ffrainc, Lloegr, Switzerland, Denmark, Germany, a'r holl leoedd oddiamgylch, cyn belled ag y cafodd yr Efengyl ei phregethu; ac mewn llawer o leoedd llawer o wrthwynebiadau a ddangoswyd, yr hyn sydd yn brawf fod Satan heb ei glymu hyd yn hyn; a Llyfr Mormon a gyfieithwyd i'r Gymraeg, Ffrengaeg, Danaeg, a thebygol i'r Almanaeg a'r Italaeg; ac y mae yn ennill cylchrediad cyffredinol.

Yr unig newydd diweddar o'r Gorllewin, oedd trwy lythyr-god Sacramento am Chwefror, yn cynnwys ond ychydig o hyfforddiadau o un math; etto y mae yn hoff genym i gael ar ddeall i'r Henuriad P. P. Pratt, wedi cyhaedd yn Valparaiso, Chili, yn Tachwedd, yn nghwmniaeth yr Henuriad Rufus Allen; ei fod wedi dechreu ffurfio cyfeillgarwch, ac yn ymbarotoi i gyhoeddi yr Efengyl. Cyhoeddwyd fod yr Henuriaid Hawkins, Cannon, a Farrar, wedi bedyddio dros 400 yn Ynysoedd y Sandwich, cyn yr 20fed o Dachwedd. Yr Henuriad Woodbury oedd yn yr Ynysoedd yr amser hwnw; ac amryw Henuriaid a alwasant yno ar eu ffordd i'r Ynysoedd cymdeithasol. Ni chlywsom oddiwrth yr Henuriad Addison Pratt oddiar Medi 13eg. Yr Henuriaid A. Lyman a C. C. Rich oedd ar y goror gorllewinol, wedi gwneuthur sefydliad yn San Bernardino, swydd Los Angeles, California; ond ni chawsom ond ychydig hanes mewn perthynas iddynt hwy a'u sefydliad; eu prif lythyron a gawsant eu cam-gludo, neu ni chyrhaeddasant. Yr Henuriaid John Murdoch a Charles W. Wandell a dybir eu bod yn Sidney, Deheubarth Cymru Newydd.

Y dydd cyntaf o'r flwyddyn 1852, a arweiniwyd i mewn fel dydd o ymddarostyngiad, moliant a diolchiadau, gyda chyhoeddiad y Llywydd Young; ac mor bell â hyn, ni chafodd y flwyddyn gymhares iddi gan y Saint yn eu hewyllysgarwch i dalu eu degymau, ac i wneuthur megys eu cynghorir; a llawenydd calon,

trwy ddylifiad helaeth o'r Ysbryd Glân iddynt, a wnaed yn eglur mewn modd anmhosibl i'w gamsynied, fel pan y byddo plant y deyrnas yn gwneuthur eu dyledswydd, y mae Duw yn barod i gyflawni ei addewidion â hwynt, ac i dywallt arnynt fendithion, hyd nes na fyddo lle i dderbyn.

Er cymmaint helaethder y Tabernacl a feddiannem ar y Gymmanfa, amryw gannoedd er hyny oeddent yn dysgwyl o'r tu allan, ac nis gallent gael dyfodiad i mewn, ac yr oedd pawb yn teimlo yr anghenrheidrwydd am adeiliad eangach, ac yr oedd yn ymddangos fod yr Ysbryd Glân yn cael y llywyddiaeth yn mhob calon. Brigham Young a gynnaliwyd trwy gyd-bleidlais unfrydol y Gynnadledd fel Llywydd, Prophwyd, Gweledydd, a Dadguddiwr Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf trwy'r holl ddaear, a Heber C. Kimball a Willard Richards fel ei gynghorwyr, ac awdudodau yr Eglwys yn Gyffredinol, yn ol y cyd-drefniad yn barod, a gynnaliwyd yn yr un modd.

Parhaodd y Gynnadledd hyd ddydd Sul, yr 11eg o'r mis hwn, a llawer o'r amser a dreuliwyd mewn addysgu a dadguddio pethau hen a diweddar; a chalonau y Saint a lanwyd â llawenydd, moliant, a diolch. Cyhoeddiad achosion trethwriaethol yr Eglwys gan yr ymddiriedolwr mewn ymddiried, a dangosodd fod, o ddechreuad y degymiad yn y Dyffryn ar y 6fed o Dachwedd, 1848, hyd Mawrth 27, 1852, wedi ei dderbyn yn y swyddfa, yn ddegwm, gan fwyaf mewn meddiannau,

| | dol. | c. |
|---|---|---|
| O werth yn ol prisiad . . . . . . . | 244,747 | 03 |
| Wedi eu derbyn yn echwyn, &c. . . . . | 145,513 | 78 |
| Cyfanswm . . . . . . . . . | 390,260 | 81 |
| Wedi ei dreulio yn ystod yr amser hwn, ar y cynghor-dŷ, ystôr-dŷ, ystôrau rhentedig, hen gysgodfa, gweith-dai gôf, saer, a pheintydd, Ysgubor-Eglwys, Tabernacl, Badd-dŷ, ffos o amgylch rhandir y Deml, rheilffordd, ffermau, rhandiroedd y ddinas, gwaith papyr, crochen-dŷ, ffosydd dwfr, y tylodion, tai i Henuriaid ar genadiaeth, arolygwyr, clerciaid, gweithiau cyhoeddus, llafur, gwair, bwydydd, cynnorthwyo ymfudwyr, colled anifeiliaid trwy'r Indiaid a bleiddiaid, papyr ac inc, &c. . . . . . . . . | 353,765 | 69 |
| Gweddill . . . . . . . . | 36,495 | 12 |

Yn awr ar law mewn llafur, llysiau, marsiandiaeth, ceryg nadd, hen ddodrefn, estyllod tô, argraff-

| | | |
|---|---|---|
| wasg, ymrwymiadau, ceffylau, mulod, a nwyddau o amryw fath . . . . . . . . | 74,512 | 50 |
| Cymmerer o hyny . . . . . . . . | 36,495 | 12 |
| Gweddill . . . . . . . . | 38,017 | 38 |

Yr hyn sydd elw i'r Eglwys o drafodaeth y trysorfeydd.

Ymddangosai hefyd fod yr Ymddiriedolwr mewu ymddiried yn gyfrifol am ryw arian gofynol, am wydr, hoelion, dillad, ac amryw nwyddau marsiandïol, y rhai oeddent yn anghenrheidiol i gyfodi adeiladau a chynnal y gweithwyr cyhoeddus, yr hyn a gostiodd arian; derbyniwyd yr ychydig hyny mewn arian, ac er fod cyflawnder o feddiannau ar law i dalu yr holl ddyledion, a gadael gweddill da ar ol, etto nis gellir troi yr eiddo yma yn arian yn uniongyrchol; a chan fod y marsiandwyr yn ewyllysio anfon anifeiliaid tua Chalifornia, fe gynnygiwyd fod y rhai hyny ag sydd ganddynt ychain, ceffylau, neu fulod i'w hebgor, i'w dwyn i'r swyddfa ddegymol, i gynnorthwyo i ysgafnhau y ddyled arianol ar yr Ymddiriedolwr.

Y gosodiad a dderbyniodd atebiad groesawus oddiwrth yr holl Gynnadledd, a llawer o anifeiliaid a dderbyniwyd eisoes; a phe bai ereill yn gwneyd megys ag y gwnaeth rhai, yr hyn beth nid ydym yn ammau, hen ddyledion yn fuan a ddileir, a swm dda a erys yn llaw y dirprwywr er cynnal yn mlaen y gweithiau cyhoeddus y tymmor hwn; yr ydys yn meddwl y gallwn fod yn barod i ddechreu ar y Deml y gwanwyn nesaf, ac y gellir parotoi bedyddfanau a darpariadau ereill ar randir y Deml yn y tymmor hwn; ond fe fydd eisieu cael arian oddi wrth bwy bynag ag sydd â hwy, i brynu y cyfryw bethau a'r nas gellir eu cael heb arian, a'r cyfryw nas gellir eu cael yn y dyffryn. Yr ydym yn cael hanes da am y Saint yn Lloegr, ac yn hyderu y gwnant barhau mewn gweithredoedd da, ac y bydd i ereill ganlyn eu hesiampl.

Y pwnc o fod y Saint yn trafaelu dros y gwastad-diroedd gyda llaw-geirt a berfa-droelli, a roddwyd at sylw y Gymmanfa, pan y boddlonodd pedwar ugain a thri-ar-ddeg o frodyr yn wirfoddol i fyned i'w cyfarfod gyda phedrolfeni a bwydydd, a'u cynnorthwyo ar eu taith, fel rhodd rad i deyrnas Dduw.

Fe bleidleisiwyd yn unfrydol fod Thomas Margetts ac Alfred Smith i gymmeryd cenadiaeth i Itali; William Fotheringham i Calcutta; John C. Armstrong, Edward Bunker, David B. Dille, Samuel Glasgow, T. B. Broderick, John Dalling, John Barker, a

George Fenn, ar genadiaeth tramor (yn debygol i neu ddwy Loegr. . . . . . .

Edward Hunter a ordeiniwyd yn Esgob Llywyddol yr holl Eglwys, yr hwn a gynnygodd Brigham Young, a Heber C. Kimball i fod yn gynghorwyr iddo, yr hyn a gymmeradwywyd yn unfrydol gan yr holl gynnadledd.

Seth Taft, David Pettegrew, Abraham Hoagland, David Fullmer, a Daniel Spencer, a ddewiswyd yn unfrydol yn Esgobion Llywyddol cynnorthwyol. Rhai a ddigymdeithaswyd, a thrigain a saith a ordeiniwyd i'r Offeiriadaeth. Dydd olaf y Gynnadledd, sef prydnawn dydd Sul, a gyflwynwyd i weinyddiad yr ordinhad o Swper yr Arglwydd, a sylwadau cyfeillgar gan y dorf; ar ol hyny fe wnaethwyd casgliad er caffael llestri at wasanaeth y cymundeb yn y Tabernacl, pan y casglwyd 149 o ddolars mewn arian, heblaw amryw bwysi o oriawr-gloeriau, llwyau, modrwyau, a llawer o addurniadau arianol ereill Gohiriwyd y Gynnadledd hyd y 6ed o Hydref nesaf. Hefyd Cymmanfa neillduol a apwyntiwyd i fod ar y Sadwrn diweddaf yn Awst, i'r dyben o drafod materion perthynol i anfoniad Henuriaid ar genadiaethau tramor.

Ac yn awr, frodyr, wedi rhoddi i chwi hanes byr o sefyllfa yr Eglwys yn y Dyffryn, yr hwn sydd ar y cwbl yn fwy llwyddiannus nag a allasom roddi hyd yn hyn, y mae genym air o gynghor, yr hwn ydym yn obeithio y gwnewch sylw o hono, fel y galloch ddyfod yn gyfranogion o gyfoethog fendithion Ephraim gyda ni; ac yn gyntaf, mor bell ag y bo modd, byddwch fyw yn heddychlawn â phawb; megys ag y cydunwyd yn y gynnadledd ddiweddaf, i ymwrthod â phob amrafaelion, a chyfreithio y naill â'r llall, ac os bydd yn bosibl, â phob dyn. Pan fyddoch yn glaf, gelwch am yr Henuriaid, y rhai a weddiant drosoch, gan eich eneinnio ag olew, a gosod eu dwylaw arnoch; a meithrinwch y naill y llall â llysiau, a bwydydd tirion; ac os gwnewch y pethau hyn mewn ffydd, a gadael heibio i gymmeryd gwenwyn a chyffeiriau gwenwynig, yr hyn nid ordeiniodd Duw erioed er defnyddioldeb dynion, chwi a gewch eich bendithio.

Amddiffynwch lywodraeth y genedl yn mha le bynag yr ydych, a dywedwch yn dda am dani, oblegid hyn sydd uniawn, ac y mae gan y llywodraeth hawl i ddysgwyl hyn oddi wrthych, cyhyd ag y byddo y llywodraeth hono yn eich amddiffyn chwi yn eich rhyddid gwladol ac eglwysig, yn y iawnderau hyny ag sydd yn

wreiddiol yn perthynu i bob person a aned ar y ddaear; ac os erlidir chwi yn eich tir genedigol, a gwahardd y fraint o addoli y gwir Dduw mewn ysbryd ac mewn gwirionedd, yna ffowch i dir Seion, i America—i'r Unol Daleithiau, lle mae iawnderau a rhyddid cyfansoddol nad oes eu rhagorach gan unrhyw genedl—yn mha le y gwelodd Duw yn addas, yn y dyddiau diweddaf hyn, i adnewyddu goruchwyliaeth iachawdwriaeth, trwy ddadguddiadau o'r nefoedd, a pha le y ca pawb trwy ffurf-lywodraeth a chyfreithiau y tir, pan weinyddir hwynt mewn cyfiawnder, eu diogelu yn mhob rhyddid gwladol a chrefyddol, ag y mae dyn yn alluog i'w fwynhau ar y ddaear; ac ni fetha byth o'n sefydliadau cenedlaethol, oddieithr i hyny fod trwy ddrygioni y werin, a bwriadau dynion drygionus mewn ychydig awdurdod; oblegid yr iawnderau hyny a ordeiniwyd gan Dduw yn y tir hwn, er sefydliad egwyddorion gwirionedd ar y ddaear; a'n cyd-reoleiddiad cenedlaethol ni a darddodd o'r nefoedd.

Bydded i holl Henuriaid Israel i swnio udgorn iachawdwriaeth gyda llais uchel, gan wybod fod yr amser yn fyr, yn yr hwn y mae gwaith mawr i'w wneyd; ac na ofnent beth a all dynion ei wneuthur, y rhai a allant ond yn unig ladd y corff: ond ofnent Dduw yr hwn a ddinystria enaid yr ofnog a'r gwrthgiliedig yn uffern. Os bydd gan y Saint fwy o aur ac arian na fydd eisieu arnynt i ddwyn yr holl rai tlodion, dygwch hyny drosodd gyda chwi, ond cynnorthwywch y naill y llall,—gwnewch megys yr ewyllysiech wneuthur i chwithau, ac na adewch i'r tlawd drengu gartref neu ar y ffordd. Y rhai hyny sydd yn yr Ynysoedd gorllewinol, Holland Newydd, yr India Ddwyreiniol, a'r gwledydd poethion yn gyffredinol, a wnant yn dda i ddyfod i San Diego, yn California, a derbyn addysgiadau yr Apostolion, neu'r Llywyddiaeth yn San Bernardino; tra y byddo i'r rhai sydd yn Lloegr a gogledd Ewrop wneyd yn dda i gymmeryd gyrfa fwy ogleddol, heibio i New Orleans, Kanesville, a'r South Pass; a phan fyddoch yn dyfod, dygwch gynlluniau or peiriannau mwyaf cymmeradwy er gweithredu pob math o bethau a fu ar ddyn erioed angen am danynt, a hadau dewisol o bob math. Y mae y byd yn llawn o beiriannau cyfaddas er arbed gwaith; a chynlluniau o honynt, ynghyd ag offer angenrheidiol yn ngwneuthuriad y cyfryw beiriannau, a'r nas gellir eu cael yma, a fyddai yn fwy o werth i'r Saint nâ'u pwysau o aur ac arian.

Yn olaf, frodyr, ofnwch Dduw; gweithredwch gyfiawnder, a deuwch adref gyda brys. Parotowch, erbyn y tymmor nesaf, i ddyfod wrth y degau o filoedd; ac na thybiwch y bydd ffordd i gael ei hagor i chwi ddyfod mewn cerbydau, gan besgu ar frasder pob gwlad. Fe fuom ni yn foddlawn i fyw ar fara a dwfr, a llawer gwaith ond ychydig iawn o fara hefyd, am flynyddau, fel y gallem chwilio allan, a phlanu y Saint mewn tir dymunol. Hyn a gwblhawyd genym trwy fendith ein Tad Nefol; ac yn awr, yr ydym yn eich gwahodd chwi i wledd o bethau breision, i dir yr hwn a wna i fyny eich holl anghenion, gyda llafur rhesymol; gan hyny, bydded i bawb a allont gael tamaid o fara ac un wisg am eu cefnau, fod yn sicr fod digon o ddwfr pur o chroew ar y ffordd, ac na ammheuwch yn mhellach, ond deuwch y flwyddyn nesaf i le yr ymgasgliad, ïe, yn heidiau fel colomenod yn ehedeg i'w ffenestri cyn y dymhestl.

Pan y caffo pobl, neu unigolion, glywed yr Efengyl, ufyddhau i'w hegwyddorion, a'u bedyddio er maddeuant o'u pechodau, a derbyn yr Ysbryd Glan trwy arddodiad dwylaw, y mae yn llawn bryd iddynt ymgasglu yn ddioed tua Seion, oni bydd i'w llywyddiaeth alw arnynt am aros a phregethu yr Efengyl, i'r rhai hyny a'r nas clywsant hi; ac yn gyffredin, pa hwyaf yr oedant, anhawddaf i gyd fydd iddynt i ddyfod adref; oblegid yr hwn a gafodd gyfleu i ymgasglu, ac nis gwnaeth, a drallodir gan y diafol.

Pan oedd Iesu ar y ddaear, fe ddywedodd wrth ei bobl, "Pa sawl gwaith y mynaswn eich casglu ynghyd, fel y casgl yr iar ei chywion dan ei hadenydd, ond nis mynech; am hyny, wele yr ydwyf yn gadael eich tŷ i chwi yn anghyfannedd." Ac os na wna Saint yr oruchwyliaeth hon wrandaw ar alwad y Bugail da, a chasglu yn ol y gorchymyn santaidd, nid yw yr amser yn nep-pell, pan y bydd cynnrychiolwyr yr Iachawdwr mawr ar y ddaear, yn gallu cael yr achlysur i ddywedyd megys ag y dywedodd yntau, "Eich tŷ a adewir i chwi yn anghyfannedd;" oblegid y mae pläau, newyn, haint, a marwolaeth yn awr yn dechreu amgylchynu y ddaear; a pha le y bydd diogelwch ond yn Seion —tir penodiad Duw—cartrefle y Saint; a thir dewisol mewn cynnyrchion a llywodraeth tuhwnt i bob tir arall; am hyny, yr ydym yn dywedyd wrthych, Cyfodwch a deuwch allan, ac nac oedwch, oblegid y mae dydd mawr yr Arglwydd gerllaw, a phwy a all sefyll ei ddyfodiad ef?

O Arglwydd Dduw Abraham, ein Tad, tywallt allan dy Ysbryd ar dy bobl trwy yr holl ddaear, ïe, yr Ysbryd hwnw a dywellti ar dy weision; fel y byddo dy holl blant yn ufydd yn mhob peth, ac yn fuan yn dyfod yn un â ni yn nyffrynoedd mynyddoedd Ephraim; fel y gwneler dy ewyllys ar y ddaear megys yn y nefoedd, yr hyn ydym yn ofyn yn enw Iesu Grist. Amen.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
WILLARD RICHARDS.

Dinas y Llyn Halen Fawr, Ebrill 18, 1852.

[A gyfieithwyd gan Thomas Job.]

---

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL

*Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, a gynnaliwyd yn y Tabernacl Newydd, Dinas y Llyn Halen Fawr, Ebrill 6, 1852, am ddeg o'r boreu, y Llywydd Brigham Young yn llywyddu.*

[O'r "Deseret News."]

YN bresennol—y Brif Lywyddiaeth, sef Brigham Young, Llywydd, a Heber C. Kimball a Willard Richards, Cynghorwyr. Patriarchiaid—John Smith ac Isaac Morley. O'r Deuddeg—O. Pratt, W. Woodruff, a G. A. Smith. Llywyddion y Degau-a-thrugain—Joseph Young, Zerah Pulsipher, A. P. Rockwood, a Henry Herriman. Llywyddiaeth yr Estynfa—Daniel Spencer, Llywydd, a David Fullmer, Cynghorwr. Llywyddiaeth Corwm yr Archoffeiriaid—John Young, Llywydd, a Reynolds Cahoon, Cynghorwr. Esgob Llywyddol—Edward Hunter. Ysgrifenydd y Gymmanfa—Thomas Bullock. *Reporter*—George D. Watt.

Galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd, yr hwn a hysbysodd iddynt addoedi yn y Gymmanfa ddiweddaf, i gyfarfod yn y Tabernacl newydd ar y Temple Block; ac yn awr awn rhagddom i gyssegru y neuadd hon, a chymmeryd arnom waith y Gymmanfa, fel y cyfarwyddir ni gan yr Ysbryd. Yna efe a ddarllenodd y 201 hymn, "Lord, in the morning thou shalt hear," yr hon a ganwyd gan y côr, dan gyfarwyddyd James Smithies, corydd.

Yna y Llywydd Richards a offrymodd y ganlynol

### WEDDI GYSSEGRIADOL.

O Dduw mawr ac holl-ddoeth, ein Tad Nefol, yr hwn wyt yn mysg y cherubiaid, ac wedi dy wisgo â goleuni megys gan ddill-

edyn, yn enw Iesu dy Fab, a thrwy rinwedd yr Offeiriadaeth santaidd a thragywyddol yr hon a roddaist i ni, yr ydym yn dyfod o'th flaen ar yr achlysur hwn, i ddeisyf ar i'th roddion a'th fendithion orphwys arnom. Attolwg, tywallt allan o'th Ysbryd ar bob enaid sydd yn awr yn dysgwyl ger dy fron, fel y byddo ein calonau yn un, ac fel y neshaom atat mewn modd cymmeradwy yn dy olwg. Bydded i bob cyffroad o eiddo ein heneidiau gyd-ddyrchafu atat ti mewn gostyngedig wylder a pharch am dy holl drugareddau, i greaduriaid dy wneuthuriad.

Yr ydym yn cofio, O ein Tad a'n Duw, ein bod yn ddyledus i ti am ein bodoliaeth, ac am gael ein danfon i'r byd yn yr oes a'r genedlaeth hon, yn mha un yr amlygwyd cyflawnder Efengyl Iesu Grist dy Fab, yn mha un y cyhoeddwyd etto gan y cenadydd nefol o'th bresennoldeb di ffordd bywyd ac iachawdwriaeth i blant dynion ar y ddaear, gan ddywedyd, "Ofnwch Dduw, a rhoddwch iddo ogoniant, oblegid daeth awr ei farn ef;"—gan gysgodi allan adferiad pob peth a lefarwyd trwy eneuau dy holl Brophwydi santaidd er dechreuad y byd—gan sefydlu egwyddorion pur y Nefoedd tragywyddol, y rhai a gyfansoddant gyfreithiau teyrnas ein Duw ar y ddaear; gan agor i fyny o'r newydd egwyddorion mawrion dadguddiad a chyfrinach â Duwiau Tragywyddoldeb—egwyddorion ag a fuont yn guddiedig yn y nefoedd am ganrifoedd lawer, tra y mae llawer o genedlaethau wedi byw a marw, yn dysgwyl am fendithion ac addewidion y dyddiau hyn, gan ddymuno rhan yn ngwaith mawr rhagbarotoiadol dyfodiad Mab y Dyn, mewn gallu a gogoniant mawr, i deyrnasu ar y ddaear.

Yr ydym yn cofio o'th flaen di, O ein Tad, ein bod ni, dy weision, ag sydd yn awr yn dy bresennoldeb, ar ol clywed y genadwri nefol, a rhoddi ufydd-dod i'w gorchymynion santaidd, wedi dyfod yn dderbynwyr a chyfranogwyr o'r weinidogaeth santaidd hon; a'n bod yn aml wedi ein gwaredu o allu y diafol a chynllwynion dynion drwg a dichellgar, y rhai a geisient ein dadymchwelyd, ac a gyd-fwriadent yn erbyn ein bywydau, i'n dinystrio oddiar wyneb y ddaear. Eithr tydi, O ein Tad, a fuost o hyd yn ofalus am danom, gan oruwch-lywodraethu pob drwg ymddangosiadol i fod er ein lles; hyd nes yn y diwedd trwy dy fawr nerth y dygaist ni i etifeddiaeth ogoneddus yn y tir da hwn, a mwy dewisol nag un tir arall, yn mhell o lochesau terfysgwyr a llofruddion y rhai a laddasant dy Brophwydi, ac o'r tir lle y mae eu gwaed etto yn gwaeddi o'r ddaear am i ddial gael ei dywallt o'r nefoedd.

Ti a ymddygaist yn drugarog tuag atom, O ein Tad; canys trwy yr holl olygfeydd y galwyd ar dy bobl i fyned trwyddynt—yr holl beryglon, a dyoddefiadau oedd genym i'w gwynebu, dy angylion a wyliasant drosom ac a'n hamddiffynasant, ac y mae dylanwadau mwyn ac adfywiol dy ysbryd wedi ein dyddanu, ac arbedwyd ninnau i fod megys cof-golofnau o'th drugaredd. Mae lluoedd o'n brodyr a'n cyfeillion wedi syrthio trwy fobyddiaeth,

trais, afiechyd, a marwolaeth, ac y mae eu hesgyrn wedi eu gadael i bydru ar y praire, ac yn yr anialwch, tra y caniateir i ni etto ymgasglu ynghyd yn y lle da hwn, ac i ddwyn i weithrediad holl alluoedd corff a meddwl â pha rai yr ydym wedi ein gwisgo, er llwyddo ac adeiladu dy deyrnas ar y ddaear. Pan alwodd dy bobl arnat yn eu cyfyngderau, ni fuost hwyrfrydig yn gwrandaw, eithr estynaist dy allu hollalluog, ac a'u hamgylchaist hwynt yn mreichiau cariad a thrugaredd, hyd nes y caniatâwyd ac y galluogwyd dy bobl i adeiladu a phreswylio, i lafurio a mwynhau y ffrwyth; ac i ddyfod allan o'u trigfanau cysurus, y boreu hwn, i addoli a moli Arglwydd Dduw Abraham, Isaac, a Jacob, Iesu, a Joseph, yn yr adeilad cyfleus hwn, yr hwn a godwyd er mwyn ymgynnulliad ac addoliad dy bobl.

Llawer gwaith y cyd-orfoleddodd ein calonau mewn cynghorau, a chyfarfodydd, ac mewn Cymmanfa; etto ni chyfarfuasom erioed pan oedd aml-drugareddau a bendithion ein Tad Nefol yn galw am fwy o fawl a diolchgarwch i'w enw santaidd, nag yn bresennol yn yr ystafell eang a chyfleus hon, ag y mae dy Saint yn awr yn cael caniatâd i'w meddu. Yma, yn y lle apwyntiedig hwn er ymgynnulliad dy Saint, ar y gylchwyl hon o ddydd genedigaeth dy Eglwys a'th Deyrnas ar y ddaear, yn yr oruchwyliaeth ddiweddaf hon o'r nefoedd, ac yn nghanol cynnulleidfa y Goruchaf Dduw, yr ydym ni, dy weision, O ein Tad o'r nef, yn enw dy Fab Iesu, yn cyflwyno a chyssegru y tŷ hwn i ti, ac i'th achos, er ymgynnulliad dy Saint i addoli o'th flaen, ac i gyfranogi o Sacrament Swper yr Arglwydd; er gweddio, er mawl, a diolchgarwch, er trin achosion perthynol i'th Eglwys a'th deyrnas, neu i ba ddyben bynag yr ymgynnullo dy Saint ynghyd yn dy enw.

Yr ydym yn neillduo ac yn cyssegru y tŷ hwn fel cyssegr santaidd dy bobl i'r Arglwydd yn dragywydd; ac yr ydym yn cyssegru y tir ar ba un y mae yn sefyll, ac yn ei gyflwyno i'r Arglwydd ein Duw. Bydded i'r llawr y rhodiwn arno fod yn santaidd o dan ein traed, bydded i'r tô sydd yn ein cysgodi rhag yr eira, y gwlaw, a'r haul, fod yn santaidd uwch ein penau; bydded i'r muriau sydd yn ein cadw rhag gwyntoedd oerion y gauaf, yn santaidd oddiamgylch i ni, a bydded i ddrysau, a ffenestri, a *slips*, a chloion, ac addurniadau y tŷ hwn, ynghyd â'r gwahanol ddefnyddiau o ba rai y cyfansoddwyd hwynt, yn santaidd i'r Arglwydd, er mwyn cyfarfodydd, Sacramentau, a thriniad achosion dy bobl. Yr ydym yn cyflwyno a chyssegru y rhan hono o'r tŷ hwn, lle y mae dy Brophwyd a'th weision yn bresennol, i fod yn lle santaidd a chyssegredig i'th bobl yn enw dy Fab, a cher dy fron di, O ein Tad nefol. Bydded i bob rhan a chyfran o hono, fod yn santaidd i'r Arglwydd ein Duw; na chaniatäer i ddim aflan fyned i mewn i unrhyw ran o'r Tabernacl hwn, eithr caffed ei gadw, ynghyd â'i *vestry*, a'r dôr-geidwaid, a phob peth perthynol neu oddiamgylch iddo, yn gyssegr cyssegredig a santaidd lle y gallo y pur o galon orfoleddu yn dragywydd, ac na chaniataer byth i un ysbryd aflan aflonyddu eu haddoliad.

Bydded i'r angylion o'th bresennoldeb di fod tufewn ac oddiamgylch i'r drigfan hon. Pan fyddo dy weision yn sefyll yn y lle santaidd hwn i weinidogaethu i'th bobl, bydded iddynt deimlo dylanwad bendigedig dy nefolaidd genadon; bydded iddynt gael eu llenwi â'r Ysbryd Glân, fel â manna o'r nef, a'u gwisgo mewn gwisgoedd cyfiawnder; bydded i weledigaethau a dadguddiadau y bydoedd tragywyddol yn agored o'u blaen yn barhaus, a bydded i'th Saint o hyd gael clust gwrandawgar a chalon ddeallus, i dderbyn a defnyddio addysgiadau dy weision, fel y cynnyddont i'r maintioli o berffeithrwydd ag sydd yn Iesu Grist, fel y byddont yn un gydag ef yn dragywydd.

Os bydd i'th bobl bechu ac edifarhau am eu pechodau, a galw arnat ti yn enw Iesu o tufewn y muriau hyn, yna gwrandawa di yn y nef, dy drigfa santaidd, maddeu eu pechodau, a dyro iddynt atebion heddychlawn. Bydded dy ofn a'th arswyd ar y cenedloedd a elont i mewn i'r lle santaidd hwn, a bydded i'th ysbryd orphwys ar y cywir galon, y rhai a glywont dy air o'r safle hwn, fel y credont, yr ufyddhaont, ac yr achuber hwynt gyda dy bobl.

Ac yn awr, O Dad, rhynged bodd i ti gymmeradwyo cyssegriad y tŷ hwn, ag a gyflwynwn yn awr i ti, yn enw dy Fab, fel teyrnged o ddiolchgarwch oddiwrth dy bobl, a gwrandaw ar lais ein deisyfiadau, fel y caffo ei gadw rhag cynddaredd yr elfenau, ac halogiad dynion annuwiol, ac fel y byddo dy ogoniant arno, ac y trigo ynddo, yn dragywydd; fel pan fyddo i'th Saint alw ar dy enw santaidd o hono, mewn cyfiawnder, y bydd i ti wrandaw yn dy drigfa santaidd, a rhoddi ateb heddychlawn.

Bendithia yr holl rai ag a gynnorthwyasant i godi yr adeilad hwn. Bydded iddynt orfoleddu byth yn ngwaith eu dwylaw, a meddu y gogoniant a ddymunant yn mhresennoldeb eu Duw. Bendithia hefyd y rhai hyny ag ydynt wedi cyfranu o'u heiddo er ei adeiladu, ynghyd â'r holl rai a ddymunent gyfranu, ac nad oedd modd a chyfleusdra ganddynt; bydded iddynt hwythau hefyd gyfranogi o etifeddiaeth ragorol gogoniant nefol, a thrigfanau dedwydd ac hyfryd yn mhlith plant dynion. Bendithia yr holl rai sydd yn proffesu dy enw, a chanddynt fodd i gyfranu at adeiladu y tŷ hwn, ac a ddarfu esgeuluso eu braint a'u dyledswydd; bydded i'th ysbryd orphwys ar y cyfryw rai oll, fel y byddo iddynt ymostwng, edifarhau am eu byrdra o'th flaen di, ac yn ngolwg eu brodyr, a chyfodi a gwneuthur eu dyledswydd o'r awr hon allan ac yn dragywydd, fel na chollont ragor o fendithion trwy ddiogi yn dy wasanaeth.

Bendithia dy was Brigham ag iechyd a nerth corff a meddwl, â bywyd hir, ac â dyddiau tangnefeddus; bydded iddo gael ei gynnysgaethu â'th ysbryd, ac â dadguddiadau tragywyddol yn barhaus, a bydded i'th angylion ymweled ag ef a'i gynnorthwyo, ac ysbrydion gwasanaethgar o'th wyddfod weini iddo yn ei holl ffyrdd. Gwylia ef, O Arglwydd, rhag bwriadau maleisus dynion drygionus; tro o'r naill ochr bob saeth a anelir er ei niweidio; addasa a pharotoa ef â phob cymhwysder angenrheidiol i arwain

a thywys dy bobl hyn; bydded ei nerth a'i allu yn gyferbyniol i'w ddyledswyddau, a'r baich a osynir ganddo ei ddwyn; bydded i fendithion gwerthfawr nefoedd a daear gael eu tywallt arno ef, ac ar ei deulu; bydded iddynt hwy, ar wahan ac yn unol, fwynhau cymdeithas Duw, a'i Saint, a chael pob rhodd ddymunol ag a gynnyddo eu heddwch, eu cysur, eu hiechyd, a'u dedwyddwch. Bendithia ei drigfa, a phob peth o'i mewn, ei dda a'i ddefaid, y tir a wrteithia, ei faesydd, ei erddi, a'i winllanoedd; bendithia ef mewn basged ac mewn ystor, ac yn yr hyn oll a berthyno iddo.

Bendithia ei Gynghorwyr, dy weision Heber a Willard, â'r un bendithion. Boed iddynt yn wastadol fyw yn undeb y ffydd, a chadw y rhwymau cariad ac undeb ag a drigant yn dy bresennoldeb di. Parha i gryfhau eu ffydd, eu gallu, a'u dylanwad, hyd nes y byddo i'w lleisiau seinio dy air gyda sŵn taranau trwy eithafion y ddaear, nes adseinio yn mhob clust, "Ymbarotowch i swper neithior yr Oen," *ei deyrnas a ddaeth*: parotowch i dderbyn yr Arglwydd!

O ein Tad, bendithia dy Batriarch oedranus. Parhaed ei ddyddiau i liosogi, a'i gynneddfau i gryfhau, a bydded iddo gael ei lanw â'r Ysbryd Glân i fendithio dy blant pan yn dynesu at wawriad dydd goleuach; fel yn nghanol dyrchafiadau gogoniant nefolaidd, y selio fendithion ar benau y ffyddlawn, hyd nes y derbynioi ef atat dy hun, i orphwys gyda'i frodyr, yn dy bresennoldeb. A bydded i'r unrhyw fendithion orphwys ar ei holl frodyr o'i gorwm y Patriarchiaid.

Cofia am gorwm y Deuddeg Apostol, gyda'u Llywydd, Orson Hyde. O, Arglwydd, caniatâ i'th angylion fyned allan o'u blaen hwynt, a'u cadw hwynt rhag pob drwg. Dyro allu iddynt i orchfygu holl gynlluniau a bwriadau dynion drygionus, a holl ddichellion y Diafol; galluoger hwynt i fyned â'r Efengyl i bob cenedl, llwyth, iaith, a phobl ar wyneb yr holl ddaear; bydded iddynt mewn cyssylltiad â, a than gyfarwyddyd Prif Lywyddiaeth dy Eglwys, gael gallu i wthio yn mlaen dy waith ar y ddaear, fel llif nerthol nas gall dim ei attal. Bendithia hwynt, O Dad, â phethau da y byd hwn, fel y darparer dros eu teuluoedd yn ystod eu habsennoldeb, tra ar genadiaethau o'th ewyllys at y cenedloedd, ac yn mhlith yr holl bobloedd. Amgylchyna hwynt yn mreichiau dy drugaredd, a chadwa hwynt, un ac oll, er cyflawni eu gwahanol genadiaethau, a dychwelyd yn ddiogel i fynwes dy Eglwys, ac at eu teuluoedd yn nyffrynoedd y mynyddau.

(*I'w barhau.*)

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

DYGWYDDIAD.—Yn y wledd ar ol y Gymmanfa ddiweddaf yn Nghasnewydd, pan yr oedd y neuadd yn orlawn o Saint, dygwyddodd i'r *ceiling* gwympo arnynt oll, oddieithr uwchben yr esgyn-lawr; eithr y mae yn dda genym i hysbysu na chafodd neb unrhyw niwed, yr hyn sydd wedi peri syndod trwy yr holl dref.

**Diod Barod.**—Mewn cyssylltiad â'r ddiod hon, dywedasom yn ein rhifyn olaf, "Os byddwch am flas arall, ychwanegwch 40 dyferyn o *essence of spruce*:" ond gan nad oes nemawr yn hoffi y y blas hwnw, gwell iddynt osod gwerth dimai neu geiniog o *essence of lemon* yn ei le, yr hwn a wna iddo yfed fel *lemonade.*

**Cymmanfaoedd y Gogledd.**—Cynnelir Cymmanfa Sir Fflint, ar yr 8fed o Awst; Sir Ddinbych, ar y 15fed; Dyffryn Conwy, ar y 22ain; Sir Fôn, ar y 29ain; a Sir Feirionydd, ar y 5med o Fedi.

---

## DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU, CANGENAU, AC EREILL, AM Y CHWARTER YN TERFYNU GORPH. 3, 1852.

*Cynnadleddau.*—Sir Fynwy, £40 0s $2\frac{3}{4}$c; Sir Frycheiniog, £7 9 $9\frac{1}{2}$c; Llanelli, £13 7s $4\frac{1}{2}$c; Sir Aberteifi, £7 15s $7\frac{1}{4}$c; Gogledd Penfro, £2 5s $5\frac{1}{2}$c; Morganwg Orllewinol, £54 2s $2\frac{1}{4}$c; Sir Feirionydd, £7 8s $1\frac{1}{2}$c; Sir Fflint, £11 14s 6c; Sir Fôn, £15 19s $9\frac{1}{4}$c; Dyffryn Conwy, 14s 2c; Sir Dinbych, £10 10s $4\frac{1}{4}$c; Cynnadledd Gymreig Liverpool, £3 13s $4\frac{3}{4}$c; Caerfyrddin, £1 19s $1\frac{1}{2}$c. *Cangenau.*—Dinas, £1 19s 9c; Llanilltyd, £4 9s 8c; Pontytypridd, £6 13s 3c; Llanfabon, £2 3s $3\frac{1}{2}$c; Cwmbach, £4 6s $4\frac{1}{2}$c; Pendulwyn, 9s $5\frac{1}{2}$c; Twynyrodyn, 10s 10c; Llandaf, £1 1s 1c; Gostwng 7s 4c; Eglwysnewydd, 7s 6c; Cowbridge, £1 14s 10c; Caerdyf, £11 15s 10c; Aberdar, £15 5s $9\frac{1}{2}$c; Aberamman, £5 6s 5c; Dowlais, £4 17s $5\frac{1}{4}$c; Hirwaen, 10s; Cwmnedd, £1 14s $1\frac{1}{2}$c; Rymni, £2 6s $3\frac{1}{2}$c; Georgetown, £2 2s $2\frac{1}{2}$c; Merthyr, £3 11s 5c; Pendaren, £4 17s; Cefn, £2 13s; Ynysgou, £1 9s $2\frac{1}{2}$c; Gwernllwyn, £1 19s 2c; Ffynnon-Tydfil, £3 4s $8\frac{1}{2}$c; Troedyrhiw, 16s $7\frac{1}{2}$c; Rymni (Seisnig,) 4s 3c; Gellifaelog, 9s; Gog, £1 9s 5c. *Personau*, £3 15s 2c.—Cyfanswm, £268 11s $1\frac{1}{2}$c.

**Taliadau o Orph. 9 hyd Orph. 21.**—Sir Fynwy, £4; Sir Aberteifi, £2; Penfro Ogleddol, £1; Sir Fôn, £1 7s 10c; Dinas, 15s; Llanilltyd, 13s 6c; Llanfabon, 16s 3c; Cwmbach, 3s 9c; Pendulwyn, 9s $5\frac{1}{2}$c; Twynyrodyn, 10s 10c; Llandaf, 4s, Eglwysnewydd, 7s 6c; Cowbridge, 5s 4c; Aberdare, £1; Abaramman, 10s; Hirwaen, £1 0s 3c; Cwmnedd, 7s 9c; Rymni, £2; Georgetown, 2s 5c; Pendaren, 11s 4c; Gwernllwyn, £1 9s; Ffynnon-Tydfil, 18s; Troedyrhiw, 9s; Rymni (Seisnig), 4s 3c; Pontypridd, 18s 7c.—Cyfanswm, £24 6s $7\frac{1}{2}$c.

**Traethodau ar Wyrthiau.**—Danfonir allan y rhifyn olaf gyda'r Udgorn nesaf; a phwy bynag sydd yn ymofyn y "*Traethawd ar Wyrthiau*" (yr hwn a gyhoeddasom y llynedd), i rwymo ar ddiwedd y chwech rhifyn presennol, rhodded wybod mewn pryd, cyn y gwerthir y cyfan.

☞ **Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.***

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, GEORGETOWN, MERTHYR.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 16.] AWST 7, 1852. [CYF. IV.

## ANERCHIAD AT Y SAINT.

### GAN Y LLYWYDD S. W. RICHARDS.

MAE Seithfed Epistol Cyffredinol y Brif Lywyddiaeth, yr hwn a gyhoeddwyd yn y rhifyn olaf o'r *Star*, yn cynnwys cynghor a chyfarwyddyd o'r pwys mwyaf i'r Saint gwasgaredig, ac yr ydym ni yn dymuno galw sylw y rhai ag ydynt yn yr Ynysoedd Prydeinig tuag ato. Nid oes dim wedi myned allan i'r Saint yn yr oruchwyliaeth hon yn fwy cyfaddas i'w sefyllfa na'r ysgrif y cyfeiriwn ati, ac ni fu pobl Dduw erioed yn fwy parod yn eu teimladau i dderbyn y fath genadwri ddwyfol, nag ydynt ar yr amser presennol.

Gwelwn yn yr Epistol sefyllfa pobl yn cael ei phortreiadu, am y rhai y gellir dywedyd braidd—ni wyddant pa beth yw eisieu; pobl ag ydynt yn teimlo gallu Duw yn eu canol, yn cyfranu iddynt, yn ol eu sefyllfa, gyflawnder o fwynhad bendithion nefolaidd a daearol. Mae heddwch a llawndid yn helaeth gyda hwynt; o ganlyniad, gyda phriodoldeb yr adnewyddir yr alwad am i'r Saint ymgasglu adref wrth y degau o filoedd. Mae yr alwad hon yn cael ei chyfeirio yn fwyaf neillduol at y Saint yn yr Ynysoedd Prydeinig, ac y mae yn rhaid iddynt ei hateb. Boddlonir ni eu bod eisoes yn ei hateb mewn *teimlad*, eithr rhaid i rywbeth mwy nâ hyny gael ei wneuthur; mae yn rhaid iddynt ei hateb mewn gweithred hefyd, mai yn rhaid i'r gwaith ei hun gael ei gyflawni, onide ni chaiff y Saint yn Mabilon byth eu gwaredu o gaethiwed.

Mor fawr yw y cyferbyniad rhwng adsain ogoneddus iachawdwriaeth yr hon a glywir o'r mynyddoedd draw, a gwaedd y byd am aur yr hon sydd wedi boddi rhinweddau ardderchocaf dynion, a dynoethi eu trachwant a'u cybydd-dod yn dra amlwg. Mae rhai eneinniog yr Arglwydd ag ydynt wedi parotoi pob peth yn barod, yn gwaeddi am eneidiau dynion, yn neillduol eiddo y tlodion gostyngedig, fel y gallont fyned i ddyffrynoedd y mynyddau, a chael yno fendithion y ddaear, a goludoedd tragywyddoldeb. Nid ydynt yn gofyn am i'r aur a'r arian gael eu dwyn i Seion, hyd nes y byddo i'r *holl dlodion ffyddlawn* gael eu cyflwyno yno yn gyntaf fel offrwm i'r Arglwydd. Yn hyn yr ydym yn canfod taer ddymuniad dynion santaidd, dan ysbrydoliad yr Hollalluog, yn dadleu achos y tlodion a'r rhai anghenog ag ydynt yn ceisio ar ol ardderchogrwydd Seion. Mae yn ddangosiad amlwg o'r gofal sydd ganddynt am iachawdwriaeth byd dirywiedig, a thuedda i lenwi calonau y rhai uniawn a ffyddlawn â llawenydd, tangnefedd, a chysur, a gobeithion am wynfyd dyfodol.

Pwy sydd i wneyd y gwaith hwn, ac yn mha fodd y mae'r tlodion i gael eu casglu, os na chydsynia y rhai sydd ganddynt aur ac arian i ddefnyddio eu cyfoeth er cyflawni y pethau hyn? Pan oedd yr Iesu ar y ddaear, ei iaith oedd, "Pa sawl gwaith y mynaswn eich casglu ynghyd, &c., eithr nis mynech." Yn awr yw yr amser y gall y cyfoethogion yn mhlith pobl Dduw, os mynant, wneuthur y gwaith a geisiodd yr Iesu ei wneuthur, canys y mae'r bobl yn awr yn ewyllysgar ac awyddus i dderbyn y waredigaeth dymmorol ag sydd yn ngallu y cyfoethogion i'w rhoddi iddynt; ac yn awr, O chwi Saint cyfoethog, mae y tlodion yn dechreu edrych arnoch chwi fel yn alluog i fod yn iachawdwyr tymmorol, a hwy a'ch ystyriant felly i'r graddau y byddoch yn cyfranu eich bendithion iddynt. Pa le mae y galon, heb fod yn farw i dosturi, ag sydd yn meddu y gallu, ac ni ddilyna esiampl yr Iachawdwr Iesu Grist, ac ymdrechu casglu pobl yr Arglwydd, pan y mae galwad mor bwysig ag sydd yn yr amser presennol? Gwna gwanwyn 1853 roddi ateb i'r gofyniad hwn, a chyhoeddi ar led pwy sydd o du yr Arglwydd; canys amlygir dirgelion calonau dynion trwy eu gweithredoedd.

Mae yr alwad hon o eiddo y Brif Lywyddiaeth yn amserol i'r Saint yn Mhrydain; a dylai yr holl rai a feddant eiddo, ac a deimlant duedd yn awr i weithredu cyfiawnder, i wneuthur fel eu

gwaith mawr cyntaf i barotoi erbyn y tymmor nesaf er ymgasglu i Seion, ac i ddechreu mewn pryd i werthu eu meddiannau, eu troi yn arian, a therfynu eu holl fusneson yn y wlad hon, fel y caffont yn ddiffael eu holl eiddo dan eu llywodraeth cyn y terfyno y flwyddyn hon. Mae yn well o lawer i ddechreu rhoi fyny busnes mewn amser cyfaddas, na'i wneuthur mewn brys gydag aberthiad mawr ar eiddo, yr hwn a ellid ei ddefnyddio i fendithio y tlodion.

Dysgwyliwn i Lywyddion y Cynnadleddau roi eu sylw at y pwnc hwn, ac na fydded i un dyn dan eu Llywyddiaeth deimlo ei fod yn rhodio yn ngorchymynion yr Arglwydd yn ddifeius, os na esyd ei wyneb o hyn allan tua Seion, a defnyddio pob moddion er cyfodi a myned allan o Babilon. Nid ydym yn dysgwyl i ddynion ag ydynt yn barhaus yn y weinidogaeth i adael eu lleoedd heb ganiatâd oddiwrth eu gwahanol Lywyddion, neu oddiwrthym ni. Eithr yr ydym yn dymuno ar holl Lywyddion y Cynnadleddau i wneuthur eu hunain yn hysbys o'r holl Saint dan eu gofal ag a feddant ddymuniad i gasglu i'r mynyddoedd, ac a allant fod yn Liverpool yn Ionawr nesaf gyda £10 y pen iddynt eu hunain a'u teuluoedd; a dymunwn ar y Llywyddion i fynegi i ni ar y laf o Dachwedd nesaf, nifer y cyfryw Saint yn eu gwahanol Gynnadleddau, a swm gywir eu heiddo lle y byddo yn fwy nâ £10 y pen. Trwy ffurfio y Saint yn gwmnïoedd, a gosod eu moddion unedig yn nwylaw rhyw ddyn doeth a phrofiadol, fel y galler eu defnyddio yn fwyaf manteisiol, ac er lles cyffredinol y gwahanol gwmnïoedd, dysgwyliwn y bydd £10 y pen yn ddigon i symud i'r Dyffryn y tymmor nesaf, yr holl rai ag ydynt wedi parotoi felly, ac yn ewyllysgar i'w wneuthur. Eithr nid ydym yn cymmeradwyo y Saint i feddwl cychwyn â'r swm hono yn unig, os ydynt yn bwriadu llywodraethu eu harian yn bersonol eu hunain. Gellir cyflawni llawer trwy *undeb moddion ac ymdrechiadau*, yr hyn a fetha *anturiaeth bersonol* ei gyflawni.

Bydded i bawb a allant, gyfodi a myned ymaith y tymmor nesaf, a pheidio aros yn hwy yn y wlad hon; canys y mae'r dydd eisoes wedi dyfod pan fydd gan y Saint i fyned i Seion trwy ganol y pla a'r haint dinystriol, a dichon y cynnydda yr anhawsderau hyn, hyd nes na byddo neb yn alluog i fyned ond y pur o galon, y rhai a gadwasant holl orchymynion Duw, ac a allant yn nghyflawn sicrwydd yr Ysbryd Glân hawlio nodded y

nefoedd. Mae dydd mawr yr Arglwydd yn agos wrth law, a bydded i'r Saint frysio i barotoi erbyn y dydd hwnw, canys dydd ydyw yn yr hwn y clywir y waedd, Gwae, gwae, breswylwyr y ddaear; dydd yn yr hwn y clywir ochain ac wylofain o herwydd digter llidiog yr Hwn a eistedda ar yr orsedd i weini barn yn mhlith dynion, pan fyddo tymmor ei fawr drugaredd wedi myned heibio, a phan y chwardda Efe am ben drygfyd y drygionus, ac y gwatwara pan ddel eu hofn.

Dan ystyriaeth o'r hyn sydd mor agos wrth law, ni a annogwn yr holl Saint i fyw yn agos at eu Duw, a dyfod i wybod eu bod yn meddu ei ffafr. Bydded i'r tlodion ag na allant weled eu ffordd yn agored o'u blaen, weddio ar Dduw mewn llawn ffydd, fel y meddalhao Efe galonau y cyfoethogion i ddefnyddio eu heiddo er casglu y sawl nad oes ganddynt fodd, ac hefyd fel y rhoddo ddylanwad a doethineb i'w weision, er darparu gogyfer ag iachawdwriaeth ei bobl yn dymmorol yn gystal ag yn ysbrydol; a thra fyddo y tlodion yn dadleu eu hachos eu hun yn daer gerbron Duw, yr hwn a all droi calonau plant dynion i ffafrio ei feibion a'i ferched Ef, ereill hefyd mewn llysoedd uwch a ddadleuant o'u tu, ac a daer amddiffynant eu hachos. Bydded y Saint yn ddiwyd i gadw holl gynghorion yr Arglwydd, gan fod yn llawn bendith ac nid melldith. Ceisiwch adeiladu eich gilydd, ac nid tynu eich gilydd i lawr; peidier â chenfigenau a drwg-dybiau, fel y byddo cariad Duw yn helaeth er lles pawb.

---

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL

*Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, a gynnaliwyd yn y Tabernacl Newydd, Dinas y Llyn Halen Fawr, Ebrill* 6, 1852, *am ddeg o'r boreu, y Llywydd Brigham Young yn llywyddu.*

[Parhad o'r Weddi yn nhud. 243.]

Bendithia â'r un bendithion dy holl Henuriaid o bob corwm ag sydd yn absennol ar genadiaethau tramor at genedloedd ac ynysoedd y môr, y rhai ydynt bellenig. Bydded i allu bywiocäol dy Ysbryd orphwys arnynt, a bydded i'w geiriau fod megys tân, yn soddi yn ddwfn i feddyliau eu gwrandawwyr; bydded i'w tystiolaeth fod megys y môr cynhyrfiol, yn rhuo ac yn ymdreiglo yn ddiorphwys, hyd nes byddo i'r llais na lefarodd erioed fel dyn, ddywedyd, Tangnefedd, ymdawelwch; pan fyddo yr holl rai

gonest eu calon wedi gwrandaw ar sibrwdiadau ysbryd ein Duw, a dysgu ffordd bywyd ac iachawdwriaeth. Bendithia deuluoedd dy weision absennol.

O, Arglwydd, bendithia gorwm yr Archoffeiriaid, a chorwmau Degau-a-thrugain dy bobl; ïe, eu Llywyddion, ynghyd â'u Cynghorwyr, a'r holl aelodau ag ydynt yn ymdrechu yn eu milwriaeth i orchfygu y byd a'i ddrygioni, ac yn ymegnïo i dynu yn ol y gorchudd ag sydd wedi amdoi y ddaear mewn tywyllwch, a meddyliau y bobl mewn pen-boethni, ofergoeledd, anwybodaeth, a phechod, hyd nes i ddrygioni orchuddio gwyneb yr holl ddaear, ac nad oedd neb i'w gael yn rhodio yn gyfiawn ger dy fron di, eithr oll yn rhodio yn ol gorchymynion dynion, ac yn ngwag ddychymmygion eu calonau. O Arglwydd Dduw Hollalluog, yr ydym yn gweddio arnat yn enw yr Iesu, i ysbrydoli dy weision, yr Archoffeiriaid, a'r Degau-a-thrugain, â dylanwad dy Ysbryd Glân; tywallt ef arnynt mewn cyflawnder mawr; bydded iddynt hwythau wregysu eu lwynau, a chan adnewyddu eu nerth o ffynnon goleuni a gwybodaeth, yr hon a ledaeni di o'u blaen, deuent i gynnorthwy yr Arglwydd yn erbyn y cadarn, ac ymgryfhau yn achos ein Duw, er llwyr ddadymchweliad ei holl elynion, ïe, er syrthiad llywodraeth Satan; fel y byddo i deyrnas ein Duw ni a'i Grist Ef, gael ei sylfaenu ar sylfaen dragywyddol, yr hon ni chymmerir byth mwy o'r ddaear.

Bendithia, O Dad, gorwm yr Henuriaid, a deffro hwynt i deimlad o'u mawr gyfrifoldeb. Bydded iddynt oll gyfranogi o'r cyffelyb fendithion â'u brodyr. Bydded iddynt gyfodi mewn gallu, a myned allan yn nerth Duw Israel i ffyddlawn gyflawni eu dyledswyddau, ac addasu eu hunain at waith Duw, gan osod am danynt arfogaeth cyfiawnder, a pharotoer hwynt i ymladd ymdrech deg y ffydd, a defnyddio cleddyf yr ysbryd er argyhoeddiad lluoedd, y rhai a ddeuant yn gyfranogion o'r weinidogaeth santaidd hon, ac i fod yn barod i fyned allan yn eu pryd a'u tymmor, a llafurio yn y winllan.

Bendithia yr Esgob Llywyddol, ynghyd â'i Gynghorwyr, cynnorthwywyr, ac holl aelodau corwm yr Esgobion. O Dad, ti a adwaenost eu llafur, a'r ffyddlondeb a ddangosant yn dy achos, ac yn nghyflawniad eu dyledswyddau. Y mae gorlawnder dy ystordy yn llefaru drostynt, yn gystal ag haelioni dy Saint; a chan eu bod wedi dangos trwy eu llafur, eu hewyllysgarwch a'u dymuniad i gadw cynghor dy weision, adeiladu a threiglo yn mlaen dy deyrnas, erfyniwn arnat i gydnabod eu gweinidogaeth, a'u bendithio â phob bendith berthynol i'th ffyddlawn weision; a bydded iddynt gael pob mwynhad ag sydd yn deillio oddiwrth gyflawniad ffyddlawn a chanmoladwy o'u dyledswyddau ger dy fron di a'th weision, fel na fyddo i'w teuluoedd byth fod mewn eisieu unrhyw beth da.

Sylwa mewn trugaredd, O ein Tad, ar dy weision o gorwm yr Offeiriaid, ynghyd â'u Llywydd a'i Gynghorwyr; a'th weision o gorwm y Dysgawdwyr, ynghyd â'u Llywydd a'i Gynghorwyr;

hefyd Llywydd, Cynghorwyr, ac aelodau corwm y Diaconiaid; fel y byddont oll yn eu gwahanol alwedigaethau yn dyrchafu eu penau megys dynion Duw, a gweithredu cyfiawnder, gan ddysgu dy Saint yn barhaus yn eu gwahanol ddyledswyddau, a gweinidogaethu yn y pethau hyny perthynol i'w galwedigaethau uchel a santaidd. Bydded iddynt gael eu llanw o'r Ysbryd Glân, a chyflawni gwaith mawr a gogoneddus yn nghanol pobl Israel.

Caniatâ i'th fendithion fod yn helaeth tuag at yr Estynfa hon o Seion; ei Llywydd a'i Gynghorwyr, ynghyd â'i Huchel Gynghor. Bydded eu bod yn ddynion yn ol dymuniad dy galon, yn gyflym i wahaniaethu rhwg da a drwg; wedi eu llanw ag ysbryd y Llywyddiaeth, a chynghor, cyfiawnder a barn, fel y llawenycher calonau y bobl, ac fel y gorfoleddont yn holl weinyddiadau dy weision. A bydded i'r holl Lywyddion, Cynghorwyr, Uchel Gynghorau, ac Estynfeydd Seion, yn holl ddyffrynoedd y mynyddau, fod yn gyfranogwyr o'r cyffelyb fendithion.

Cymmer drugaredd ar dy weision sydd yn gweithio ar y gweithiau cyhoeddus, ac ydynt yn ymdrechu yn barhaus i adeiladu dy deyrnas, pa un bynag ai yr amrywiol swyddfaoedd a gweithdai, neu wrth ochr y ffordd. Bendithia hwynt â thywalltiadau adfywiol o'th Ysbryd, fel y caffont lawenydd calon yn wastadol; bendithia hwynt yn eu cyrff, fel y caffont iechyd a nerth; bendithia eu hofferynau, a'u gweithdai, a phob peth y gosodont eu dwylaw arno, ag sydd o amgylch iddynt, ïe, bob peth a berthyno i lwyddiant cyffredinol dy bobl. Bydded i dir y *block* hwn gael ei gadw yn santaidd i'r Arglwydd, a phrysured yr amser i'w furiau a'i byrth ei ddiogelu rhag pob trais-ruthriad halogedig; pan fyddo i ffynnonau ddyfod allan arno, er glanhau a phuro, ac iachâu dy bobl; a phan fyddo i dy dŷ gael ei godi i'th enw, o ba un y caiff ordinhadau bywyd tragywyddol ddylifo allan i'r byw a'r meirw, ac i'r cyfan ddyfod yn baradwys yn Seion, ïe, megys gardd yr Arglwydd.

Bendithia dy holl bobl yn nyffrynoedd hyn y mynyddau; bydded i'th Ysbryd drigo yn helaeth ynddynt; a bydded iddynt dy wasanaethu mewn ysbryd ac mewn gwirionedd; bydded iddynt lynu wrthyt gyda llawn fwriad calon, gan beidio methu byth dy gydnabod di yn mhob peth, a rhoddi diolch a mawl i'th enw santaidd. Lliosoga eu hiliogaeth, fel y delont yn bobl liosog, a chynnydda eu da a'u defaid, a'u ffermydd, a'u gerddi, a'u perllanoedd a'u gwinllanoedd, a'u tai, a'u siopau, a'u gweithfaoedd, a phob peth ag yr estynant eu llaw ato i'w wneuthur. Bydded i'r ddaear roddi ei chynnyrch yn ddifesur i'th bobl, fel y byddo cyflawnder mewn ystor i'r holl rai a ddeuant yma, i ddysgu yn llwyrach ffordd bywyd ac iachawdwriaeth, ac er cynnal y gweithiau cyhoeddus. Caniata y fendith fawr hon i'th bobl, fel na fyddont byth yn ddiog, neu yn anewyllysgar i ddegymu eu cynnydd, er adeiladu dy deyrnas, a lledaeniad dy Efengyl ar y ddaear. Bendithia a chadw dy bobl rhag pob dylanwad drwg, rhag pob barnu anamserol a gau, rhag pob meddwl a dywedyd

yn ddrwg, rhag pob gelynion tufewn a thu allan; na chaffed eu gelynion allu drostynt, i lwyddo yn eu herbyn, neu i'w niweidio hwynt yn eu personau, teuluoedd, neu feddiannau.

Bendithia dy weision y rhai a aethant i gasglu dy bobl yn Pottowattamie, a'u harwain hwynt i'r lle hwn; dyro iddynt ddoethineb a gallu i gyflawni eu cenadiaeth er dy ddwyfol gymmeradwyaeth. Mewn modd neillduol y coffawn ger dy fron di, O ein Tad, am dy blant, ag a gynnygiant gerdded yn groes i'r *prairies* y tymmor hwn gyda llaw-geirt, a *wheel-barrows*, gan godi eu pebyll ar y ffordd, neu heb ddim oddigerth y nefoedd yn gauad-lèn. Bydd yn dra thrugarog wrth bawb felly, a mwyha eu ffydd; dy allu di fyddo eu gallu hwynt, a bydded iddynt gael eu bywiocâu yn barhaus gan dy allu hollalluog di, fel y byddo i bob asgwrn, a gewyn, a gwythïen, a phob rhan o'u cyrff, gael eu hadnewyddu, ddydd ar ol dydd, fel na phallo eu nerth. Bydded i'r fath allu gael ei roddi iddynt, fel nas gallo dim ond dy angylion fyned o'u blaen hwynt. Na fydded i un gelyn gael awdurdod arnynt, na dyfod iddynt un dygwyddiad. Darpara ymborth iddynt ar y ffordd, hyd y nod pe byddai raid cael manna o'r nef, megys ag y gwnaethost i'n tadau yn yr anialwch. Na fydded i afiechyd a marwolaeth awdurdod arnynt, eithr cyrhaedded pob enaid yn ddiangol yn ein plith, i gyduno â ni mewn caniadau o fawl a diolchgarwch i Dduw am ei gymmwynasgarwch mawr a'i drugaredd tuag atynt.

Cymmer drugaredd ar dy bobl, O Arglwydd, y rhai ydynt yn wasgaredig yn mhlith y cenedloedd, ac yn dymuno ymgasglu yn ol dy air, eithr heb fodd ganddynt. Agor galonau y rhai sydd ganddynt, i gyfranu i'r rhai nad oes ganddynt, fel y gallo y cyfoethog a'r tlawd gyd-deithio, yn ol dy ewyllys di. A bydded i bawb sydd yn awr ar eu ffordd, neu a fyddo yn dyfod y tymmor hwn, pa un bynag ai ar dir, neu ddwfr, gyda cheffylau, neu fulod, neu ychain, neu wageni, neu gerbydau, neu ba foddion bynag, brofi o'th fendithion, fel y gwareder hwynt rhag pob drwg, ac y cyrhaeddont yn ddiangol, fel y llanwer dyffrynoedd ffrwythlawn y mynyddoedd â Saint y Goruchaf.

Bendithia Lywodraethwr y Diriogaeth hon, ynghyd â'r Deddfwyr, Barnwyr, *Marshalls*, Siryddion, a phawb mewn awdurdod yn mhlith dy bobl; a bydded i ysbryd cariad, ufydd-dod, undeb, a thangnefedd fyned ar gynnydd. Na chaffed y cyfreithwyr allu i gynhyrfu amryson ac amrafael, ac hawliau cyfreithiol yn ein mysg, a bydded i ysbryd heddwch a chymmod gael ei feithrin gan bawb mewn awdurdod.

Bydded i'r Cynnrychiolydd o Utah, yn awr yn Senedd y genedl, gael ei wisgo ag ysbryd a gallu Duw Elias, fel y dystawo dafodau dynion drygionus; bydded i holl elynion ein Duw gael eu cywilyddio ger ei fron; doethineb y nef fyddo yn eiddo iddo, i'w dywys a'i arwain yn mhob anhawsdra; na fydded iddo byth gael ei ddyrysu neu ei roi i ddystawrwydd neu ofn, eithr bydded iddo deimlo fod Duw gydag ef, ac y bydd iddo ei ddwyn ymaith

yn orchfygwr pob gelyn. Bydded iddo sefyll yn fuddugoliaethus yn nghanol y genedl, yn wisgedig ag egwyddorion gwirionedd ac uniondeb tragywyddol; bydded ei rodiad beunyddiol yn esiampl i'r byd, a phawb y byddo yn ymgymdeithasu â hwynt, ac felly profi ei hun yn gyfaill Duw, ac yn ddyn yn ol dymuniad ei galon, yn dyfal geisio gwybod dy feddwl a'th ewyllys di, ac yn rhoddi gostyngedig ufydd-dod iddynt.

Yr ydym yn gweddio dros Lywydd yr Unol Daleithiau, dros benau taleithiau, dros aelodau y Senedd, a'r holl rai ag ydynt mewn awdurdod drosom. Bydded iddynt gael doethineb i ganfod arwyddion yr amserau, a gweinyddu mewn cyfiawnder yn eu gwahanol alwedigaethau, yn eu sefyllfaoedd uchel a chyfrifol; boed iddynt garu trugaredd, ymddwyn yn gyfiawn, a cheisio gwybodaeth, doethineb, a barn oddiwrtho Ef yr hwn sydd â'i hawl i lywodraethu, a dyfod yn ddarostyngedig i'w addysgiadau santaidd Ef. O Dad Santaidd, na chaniatâ i un ysbryd drygionus i beri rhagfarn yn eu meddyliau yn ein herbyn ni, dy weision, neu dy bobl, neu achosi iddynt geisio ein niweidio; eithr bydded i ddylanwadau daionus dy Ysbryd eu llywodraethu yn eu holl weithredoedd tuag at dy bobl, a thuag at dy holl bobl dros ba rai y llywyddant, neu dros ba rai y gwnant ddeddfau, fel y byddo i egwyddorion pur ein sefydliadau cenedlaethol gael eu parhau yn dragywydd.

Bendithia holl lywodraethau a llywodraethwyr y ddaear, y rhai a fendithiant dy bobl ac a amddiffynant dy weision; a dymchwela yr holl orseddau, llywodraethau, tywysogaethau, awdurdodau, arglwyddiaethau, a ymladdant yn erbyn dy achos a'th weision di; fel yr agorer y ffordd er lledaeniad y gwirionedd tragywyddol, sef Efengyl iachawdwriaeth, i bob cenedl, llwyth, iaith, a phobl a breswyliant ar wyneb yr holl ddaear; ac fel y caffo dy weision fynedfa at yr onest ei galon yn mhob man.

Caniatâ, O Arglwydd, i'th hen bobl gyfammodol gael ysbryd adnewyddol dy râs, fel y parotoer hwynt i dderbyn eu hetifeddiaeth addawedig, a chael eu casglu o blith pob cenedl, o'r lle y gwasgaraist hwynt, a bydded iddynt ddyfod yn addurnedig, yn ol cyffelybiaeth palas, a dyfod yn demlau addas er derbyniad a phreswyliad dy Ysbryd Glân.

Cofia mewn trugaredd, O Arglwydd, dy hen bobl gyfammodol a breswyliant y tir hwn, sef had Joseph yr hwn a werthwyd i'r Aifft. Dyro i'th Saint ysbryd amynedd a dyoddefgarwch, fel y gweithredont yn ddoeth, a chyfiawn yn eu holl ymdrin â hwynt. Bydd drugarog wrthynt, O ein Tad, yn eu sefyllfa anwybodus, isel, a thruenus, yr hon a roddaist arnynt yn dystiolaeth fyw o'th farnedigaethau cyfiawn; etto cofia, yr ydym yn deisyf, O ein Nefol Dad, eu bod yn hen bobl gyfammodol i ti, ac iddynt hwy y perthyna yr addewidion a wnaed i'w tadau; ac yr ydym yn gweddio arnat ti, am i'w profiad mynedol yn yfed o gwpan dy anfoddlonrwydd di fod yn ddigon, ac am i ti yn awr estyn allan dy fraich er eu gwaredu o'r tywyllwch, yr ofergoeledd, a'r an-

wybodaeth ag sydd yn teyrnasu yn eu heneidiau. Dyro iddynt freuddwydion, a gweledigaethau, a dadguddiadau trwy yr Ysbryd, fel y gwelont eu sefyllfa isel, a'r bendithion sydd yn nghadw iddynt trwy ufydd-dod eu tadau, fel y chwiliont ar ol dy weision, a derbyn eu dysgeidiaeth hwy, a dysgeidiaeth dy Ysbryd; fel y goleuer hwynt mewn egwyddorion, mewn athrawiaeth, ac mewn dyledswydd, a dysgu ffordd bywyd ac iachawdwriaeth, yr hon a adwaenai ac a garai eu tadau, eithr a gollasant trwy droseddiad; fel y delont etto yn bobl wynion a dymunol yn mhlith y cenedloedd, a chael iachawdwriaeth yn y diwedd yn dy bresennoldeb.

Bendithia bob dyn, yn mhob man, ag sydd yn caru ac yn ufyddhau dy gyfreithiau, a bendithia a gwna ddaioni i'th bobl; bydded i'w dyddiau gael eu hestyn a'u lliosogi ar y ddaear; mwyha eu llawenydd, a lliosoga eu hiliogaeth, fel y ffyno tangnefedd, ac y taener cyfiawnder yn mhlith y cenedloedd.

Yr ydym yn cyflwyno o'th flaen di, ein Nefol Dad, bawb ag ydynt wedi cael rhagorfraint dy Efengyl, y rhai ag ydynt wedi clywed addysgiadau dy weision, a theimlo a gweled eglurhad dy Ysbryd, ac wedi troi ymaith oddiwrth dystiolaeth Iesu, ac erlid a mobio dy Saint, a lladd dy Brophwydi, ïe, dy rai eneinniedig, ac a ddiystyrasant dy drugaredd a'th gariad, ac a heneiddiasant mewn anwiredd, ac a gyfnewidiasant dy ordinhadau, a wrthodasant dystiolaeth dy weision, ac a geisiasant eu dyfetha oddiar wyneb y ddaear, y rhai y mae dyddiau eu hedifeirwch a'u hiachawdwriaeth wedi myned heibio, a'r rhai ydynt yn ddifeddwl o honot ti, ac a ymladdant yn erbyn dy achos a'th deyrnas, ac a dywalltasant waed gwirion. Yr ydym yn gweddio arnat ti, ein Tad yn y nefoedd, i'w hamddifadu o bob gallu i niweidio dy bobl, fel y syrthiont yn y pyllau, ac y caffont eu cymmeryd yn y maglau a osodasant i'w cymmydogion; fel yr elont yn ol ac nid yn mlaen, a syrthio a pheidio codi mwyach. Bydded i'r pläau a arfaethaist, ddyfod arnynt, fel y trengont oddiar wyneb y ddaear, a'u cenedlaethau ar eu hol, fel y dilëer eu henwau o hyny allan, fel y byddo i hiliogaeth y cyfiawn lenwi y ddaear.

Ac yn awr, ein Tad Nefol, yr ydym yn deisyf arnat i wrandaw ar lais ein hymbiliau, a rhoddi i ni atebiad tangnefeddus. Attolwg, derbyn ein cyflwyniad o'r tŷ hwn, o'n hunain, o'n gwragedd, o'n plant, o'n tai, o'n da a'n defaid, ac o'r hyn oll a feddwn, i ti, ac i'th achos yn dragywydd.

Gan ddeisyf y tywalltir dy Ysbryd daionus arnom ni, dy bobl, tra y byddom yn aros gyda'n gilydd yn y Gymmanfa hon; yr hyfforddi ni yn mhob peth perthynol iddi, fel y galluoger ni i gyflawni dy ewyllys gyfiawn yn mhob peth, a chynnyddu mewn perffeithrwydd trwy ddawn dy Ysbryd, fel yn y diwedd y gorphwysom yn dy bresennoldeb gyda'r holl rai santeiddiedig; a nyni a roddwn bob mawl, gogoniant, ac anrhydedd i Dduw, ac i'r Oen, yn oes oesoedd. Amen.

Yna y Llywydd Young a ddarllenodd yr hymn, "The morning breaks, the shadows flee," yr hon a ganwyd gan y côr, gan derfynu a "Hosanna in the highest," megys cyd-gerdd o engyl nefolaidd.

Hymn ag a gafodd ei chyfansoddi gan W. W. Phelps, a ganwyd gan John Kay, mewn cysylltiad ag offer cerdd.

Y Llywydd Young a anerchodd y gynnulleidfa mewn araeth dra bywiog, ar ol yr hyn y canodd y côr, "Ere long the mount of God in latter days shall rise."

Terfynwyd trwy weddi gan y Patriarch John Smith.

Am ddau, yn y prydnawn, agorwyd y Gymmanfa yn y dull arferol trwy ganu a gweddio.

Yr Henuriad Orson Pratt a anerchodd yr Henuriaid ynghylch y cyfrifoldeb ag sydd yn gorphwys arnynt i ymbarotoi gyferbyn â boreu yr adgyfodiad, a chyferbyn â gogoniant nefol, gan gyfeirio at waith Duw yn Lloegr, Denmark, &c. Efe a ganlynwyd gan yr Henuriad Orson Spencer, yr hwn a deimlai i orfoleddu yn yr hanesion rhagorol a gyflwynwyd y prydnawn hwn, y rhai a wyddai eu bod yn wir. Yr un peth fuasai i'r byd geisio attal pelydrau goleuni ag attal gallu y gwirionedd.

Canodd y côr, "Before Jehovah's awful throne."

Terfynwyd trwy weddi gan y Llywydd H. C. Kimball.

Gohirwyd hyd y 7fed o Ebrill, am 10 y boreu.

Am 6, yn yr hwyr, ymgynnullodd y Degau-a-thrugain i dderbyn addysgiadau gan y Llywydd Joseph Young, ac i gymmeryd dan ystyriaeth barhad adeiladiad Neuadd Celfyddyd y Degau-a-thrugain.

*Dydd Mercher*, Ebrill 7.—Pan agorwyd drysau y Tabernacl am naw yn y boreu, y bobl a ruthrasant i mewn megys pe buasai llif-ddorau *reservoir* wedi rhoi fford, ac mewn ychydig iawn o fynydau yr oedd yr holl eisteddleoedd wedi eu llenwi, gan gymmaint awydd y Saint i wrandaw addysgiadau gweision Duw. Darfu i'r wyth dor-geidwad ymdrechu eu goreu i drefnu y dyrfa fawr o eneidiau awyddus, fel ag i gael lle i bawb, eithr yr oedd yn anmhosibl; yr oedd yr holl rodfeydd yn orlawn o ddynion yn sefyll, ac nis gallai llaweroedd ddyfod i mewn oll. Bywiogwyd y gynulleidfa gan amrywiol ddarnau o beroriaeth, hyd nes y cyrhaeddodd y Llywyddiaeth, pan y galwyd y gynnulleidfa i drefn gan y Llywydd Kimball.

Canodd y côr, "Once more, my soul, the rising day," &c. Gweddiwyd gan yr Henuriad H. G. Sherwood. Canodd y côr, "Lift up your heads, ye scattered Saints."

Yna y Llywydd Young a ddywedodd mai y gwaith cyntaf fyddai cyflwyniad holl Awdurdodau yr Eglwys.

Yna Brigham Young a gyflwynwyd fel Llywydd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf; hefyd fel ein Prophwyd, Gweledydd, a Dadguddiwr, a'n Harweinydd yn Israel; hefyd, Heber C. Kimball, a Willard Richards, fel ei Gynghorwyr, ac fel Apostolion Iesu Grist. Cynnaliwyd hwynt oll yn unfrydol.

John Smith a gynnaliwyd fel Patriarch Llywyddol i Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.

Orson Hyde a gynnaliwyd fel Llywydd, a P. P. Pratt, Orson Pratt, Wilford Woodruff, John Taylor, George A. Smith, Amasa Lyman, Ezra T. Benson, Charles C. Rich, Lorenzo Snow, Erastus Snow, a Franklin D. Richards, fel aelodau o Gorwm y Deuddeg Apostol i'r holl fyd.

John Young a gynnaliwyd fel Llywydd Corwm yr Archoffeiriaid; hefyd, Reynolds Cahoon, a George B. Wallace, fel ei Gynghorwyr.

Joseph Young a gynnaliwyd fel Prif Lywydd holl Gorwmau y Degau-a-thrugain; a Levi W. Hancock, Henry Herriman, Zera Pulsipher, Albert P. Rockwood, a Jedediah M. Grant, fel ei Lywyddion Cynnorthwyol. Gan fod Benjamin L. Clapp wedi dangos llawer o deimladau ag ydynt yn wrthwynebol i'r gwirionedd, a chan ei fod wedi aros yn y tir tu ol am beth amser, gadawyd ef allan o'i le am yr amser presennol, hyd nes y cyfaddefo yn ostyngedig ei ffolineb gerbron y Gymmanfa; a danfonwyd llythyr ato i ymddangos mewn canlyniad.

John Nebeker a gynnaliwyd fel Llywydd Corwm yr Henuriaid; hefyd James H. Smith, ac Aaron Sceva, fel ei Gynghorwyr.

Edward Hunter a gynnaliwyd fel Esgob Llywyddol yr Eglwys; hefyd, Nathaniel H. Felt, John Banks, ac Alfred Cordon, fel Esgobion Llywyddol, Teithiol, a Chynnorthwyol, yn mhlith y bobl.

Lewis Wight a gynnaliwyd fel Llywydd Corwm yr Offeiriaid; hefyd, John Groves, a George Deckstader, fel ei Gynghorwyr.

Mc.Gee Harris a gynnaliwyd fel Llywydd Corwm y Dysgawdwyr; hefyd, John Vance, a Reuben Perkins, fel ei Gynghorwyr.

Return R. Hill a gynnaliwyd fel Llywydd Corwm y Diaconiaid; hefyd, Andrew Burt, ac Oswell Barlow, fel ei Gynghorwyr.

Brigham Young a gynnaliwyd fel yr Ymddiriedolwr mewn gofal dros Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, ac Edward Hunter fel Ymddiriedolwr Cynnorthwyol.

Willard Richards a gynnaliwyd fel yr Hanesydd a'r Ysgrifenydd Eglwysig Cyffredinol.

Daniel H. Wells a gynnaliwyd fel Arolygydd y Gweithiau Cyhoeddus.

Brigham Young a gynnaliwyd fel Llywydd y Cwmpeini Ymfudol Parhaus i gasglu y tlodion; hefyd, Heber C. Kimball, Willard Richards, Wilford Woodruff, Orson Hyde, G. A. Smith, Ezra T. Benson, Jedediah M. Grant, Daniel H. Wells, Willard Snow, Edward Hunter, Daniel Spencer, Thomas Bullock, John Brown, William Crosby, Amasa Lyman, Charles C. Rich, Lorenzo D. Young, Parley P. Pratt, Orson Pratt, a Franklin D. Richards, a gynnaliwyd fel Cynnorthwywyr i'r Llywydd Young.

Daniel Spencer a gynnaliwyd fel Llywydd yr Estynfa hon o Seion; hefyd, David Fullmer, a Willard Snow, fel ei Gynghorwyr.

Henry G. Sherwood a gynnaliwyd fel Llywydd, ac Eleazar Miller, John Kempton, Heman Hyde, William W. Major, Levi Jackman, Ira Eldridge, John Vance, Edwin D. Woolley, John Parry, Winslow Farr, a William Snow, fel aelodau o'r Uchel Gynghor.

Y Llywydd Young a sylwodd mai hon oedd y neuadd oreu ar un llawr a welodd efe yn ei fywyd, gan fod 2500 o bersonau yn bresennol y boreu hwn, a gall pob un weled gwyneb y llefarwr. Parhaodd y Llywydd Young i anerch y gynnulleidfa, a dilynwyd ef gan G. A. Smith, a W. W. Phelps.

Canwyd, a therfynwyd trwy weddi gan y Llywydd Young.

Am ddau, yn y prydnawn, agorwyd fel arferol. Y Llywydd Young a osododd gerbron y gymmanfa y swm o Ddegwm a dderbyniwyd, a'r draul, yr hyn wedi hyny a ddarllenwyd gan William Clayton.

Treuliodd y Llywydd Young y gweddill o'r prydnawn.

Canwyd, a therfynwyd trwy weddi gan yr Henuriad H. Herriman.

Am 6, yn yr hwyr, yr oedd y tŷ yn orlawn o swyddogion yr

Eglwys, pan yr anerchwyd yr Henuriaid gan yr Henuriad G. A. Smith, Z. Pulsipher, a'r Llywydd Young.

*Dydd Iau*, Ebrill 8.—Agorwyd y Gymmanfa yn y dull arferol, am naw yn y boreu, pan yr adeiladwyd y Saint â darlith ar Addysg, gan Orson Spencer, Canghellydd Prif-Athrofa Deseret, yr hwn a ddilynwyd gan Z. Snow, a W. W. Phelps. Llefarodd y Llywydd Young trwy ystod y gweddill o'r gwasanaeth boreuol, yr hyn a gyhoeddir etto yn gyflawn.

Gohiriwyd am un awr.

Yna agorwyd y Gymmanfa drachefn, pan y canwyd cân o waith Miss Eliza R. Snow (sef "The Son of God will come"), gan John Kay.

Y Llywydd H. C. Kimball a ddadleuodd ar ran y Saint ag oedd yn dyfod dros y gwastad-diroedd efo *wheel-barrows* a llaw-geirt, pan y cynnygiodd 93 o bersonau fyned allan â'u wageni i gario lluniaeth a'u cynnorthwyo ar y ffordd.

Y Llywydd Young a'i dilynodd ef ar yr un pwnc; yna y personau a gynnygiasant eu hunain i fyned, a bleidiasant i roddi eu gwasanaeth yn rhad.

Penderfynwyd fod Thomas Margetts ac Alfred Smith i fyned ar genadiaeth i Italy; William Fotheringham i Calcutta, a John C. Armstrong, Edward Bunker, David B. Dille, Samuel Glasgow, T. B. Broderick, John Dalling, a George Fenn, i fyned ar genadiaethau tramor.

Canodd y côr, "The Prodigal Son." Gohiriwyd hyd Ebrill 9, am naw y boreu.

Am bedwar o'r prydnawn, ymgynnullodd y Degau-a-thrugain, a threfnwyd hwynt i eistedd yn gorwmau. Cafodd amryw bersonau eu hesgymuno, a dymunai trugain a saith eu hordeinio, y rhai a gymmeradwywyd yn eu cais.

Pregethwyd gan Joseph Young, Wilford Woodruff, G. A. Smith, ac ereill, hyd hanner awr wedi naw yn yr hwyr.

(*I'w orphen yn y nesaf.*)

---

## ANERCHIAD Y LLYWYDD WILLIAM S. PHILLIPS AT Y SAINT YN NGHYMRU.

Anwyl Frodyr a Chwiorydd,—Ni chefais yr anrhydedd i'ch anerch er ys amser bellach trwy gyfrwng yr Udgorn, o herwydd

fod cymmaint o Epistolau rhagorol yn ei lauw, y rhai a gynnwysent newyddion daionus o Seion. Yr wyf yn teimlo yn ddiolchgar i gael y cyfleusdra hwn o roddi gair o gynghor i'r Saint o dan fy llywyddiaeth. Yr wyf wedi bod yn ymweled â'r rhan fwyaf o'r Cynnadleddau yn y Deheudir, ac yr wyf yn tystiolaethu gyda llawenydd, na welais y Saint erioed o'r blaen mewn sefyllfa mor dda ag y maent yn bresennol; ac y mae yr Eglwysi yn Nghymru wedi ymaflyd yn Nheyrnas Dduw mewn ffydd, â'u holl galon, â'u holl enaid, ac â'u holl nerth, yr hyn sydd yn creu llawenydd mawr iawn i mi weled yr holl *Gorff* yn gweithio, fel pe byddai'r dydd drwg wrth law; ac y maent oll fel y morgrugyn yn casglu yr haf erbyn y gauaf, tra mae holl grefyddau yr oes yn gwaeddi, "Heddwch, heddwch; tangnefedd, tangnefedd," gan adeiladu, planu, &c., ac ymdrechu sathru gweision Duw dan eu traed: Och! y mae dydd ofnadwy yn aros y rhai annuwiol ac holl weithredwyr anwiredd! Gwae, gwae, gwae anghredinwyr Cymru! pa rai sydd wedi gwrthod prophwydi sydd wedi eu geni yn eu plith; hwy a gânt ddyoddef am hyn yn y blynyddau nesaf. Ond awn yn mlaen, gan adael rhwng Duw â'r anghredinwyr, gan gydnabod mai ein galwedigaeth ni yw gwaredu'r Saint o'u plith, i'r wlad yr hon a guddiodd Duw â dwfr hyd y dyddiau diweddaf hyn, fel nas gallasai yr athroniaid roddi un hysbysiad yn ei chylch. A diolched yr holl Saint am ei ddaioni a'i ddarpariadau ar eu cyfer, ei fod wedi cadw mynyddoedd Ephraim yn guddiedig rhag y cenedloedd; ac i fod plant Ephraim yn cael eu casglu yn awr tua thref, o fysg pob cenedl, ac i lawenhau yn ngwlad eu tadau, yr hon sydd wedi ei rhoddi iddynt hwy ac i'w plant yn etifeddiaeth byth ac yn dragywydd. Ac yn awr, yr ydym yn bloeddio trwy yr Udgorn, Ffowch tua thref, ïe, Saint, ffowch, canys nid yw ein cartref yma; lle ydyw hwn lle mae Offeiriadaeth Duw yn cael ei dirmygu. Bydded i'r rhai hyny sydd yn feddiannol ar gyfoeth ffoi; ïe, a phob un sydd yn feddiannol ar ddeg punt, ffowch. Y tlodion, darparwch; byddwch barod, canys yn yr awr na thybioch y gelwir am danoch. Nis gallwn ateb etto pwy rai o honoch a gaiff ymfudo y tro nesaf; ond byddwch barod fel pe byddech oll yn cael myned, ni fydd y diweddaf ond ychydig flynyddau. Yr ydym yn dymuno ar i'r holl Lywyddion a'r holl Saint ymdrechu o blaid y Drysorfa Ymfudol Barhaus, ac i'r Ysbryd ag sydd yma yn

bresennol, ac yn y llythyr hwn, fod yn feddiannol gan yr holl Saint trwy y wlad. Apwyntiwch ddynion da yn mhob Cangen i gasglu bob wythnos at y Drysorfa Ymfudol Barhaus; yr ydym yn bwriadu cael cannoedd o bunnau i mewn bob chwarter blwyddyn o Gymru, yn lle o gwmpas deg punt ar hugain, fel ag oedd yn dyfod o'r blaen. Yr ydym yn cynghori y brodyr hyny ag sydd ganddynt arian, i'w taflu i'r Drysorfa hon er casglu y tlodion tua thref. Y mae llawer o rai cyfoethog yn bwriadu taflu i'r Drysorfa hon pan y byddant yn cychwyn i Seion. Ond sylwch, y mae arnom ni eisieu iddynt daflu yn awr; bydd yn rhy ddiweddar y pryd hyny, oblegid y mae arnom eisieu cael y tlodion i fyned yr un pryd â hwythau i Seion.

Yr wyf yn awr yn bwriadu ymweled â siroedd y Gogledd; ac yr wyf yn dymuno rhan yn ngweddiau y Saint, er agor calonau cauedig trwy y wlad. Ac yr wyf yn gweddio ar Dduw, y Tad tragywyddol, i fendithio yr Eglwys trwy y dywysogaeth hon, yn enw Iesu Grist. Amen.

WILLIAM S. PHILLIPS.

**14, Castle St., Merthyr, Awst 1, 1852.**

---

## LLYTHYR AT Y LLYWYDDION W. S. PHILLIPS A JOHN DAVIS.

*Pottowatamie*, *Meh*. 22, 1852.

ANWYL FRODYR PHILLIPS A DAVIS,—Achubaf y cyfleusdra presennol i ysgrifenu atoch o Pottowatamie. Y mae y Gangen Gymreig wedi dechreu ei thaith tua Dyffryn y Llyn Halen Fawr, a'r rhai o'r Saeson a'r French yn y cwmni. Y mae hanner cant o wageni yn gwneuthur i fyny y gwersyll, ac yn cael eu rhanu yn bump dosparth, sef 10 pedrolfen yn mhob dosparth, a chaptain ar bob 10 pedrolfen; hefyd, captain dros yr holl wersyll: enwaf y rhai a adwaenwch,—Capt. D. Evans, Llanelli, y cyntaf; John Rees, gôf, gynt o gerllaw Pont Haiarn, Merthyr-Tydfil, yn ail; H. Evans, hen lywydd Gorllewin Morganwg, yn drydydd, Coward, yn bedwerydd; y pummed, nid adwaenwch ef. Y mae William Beddoe, *Brickman*, gynt o Bendaren, yn gofnodydd y gwersyll, ac Abel Evans yn gaptain y *Guards*, a'r ysgrifenydd yn was i'r holl wersyll. Yr ydwyf wedi ysgrifeni tri o lythyron, ac yn ol yr hyn a glywais gan y Brawd Evans, nid ydynt wedi cyrhaedd pen eu taith.

Mae y Saint oll mewn iechyd da, pob un a'i dŷ *canvas* mor wyned â'r eira; a byddai yn dda genym pe bai ein brodyr a'n

chwiorydd, llawer ag a adwaenwn, yn nes atom i gael gweled gwirionedd y gair sydd fel hyn :—" Gwlad yn llifo o laeth," &c. Y mae llawer o laeth yn ein gwersyll yn cael ei daflu allan mor ddisylw ag y teflir dwfr, yr hwn y bydd tri neu bedwar o'r *colliers* yn Merthyr wedi ymolch ynddo, o herwydd fod genym fwy nag a allwn wneyd defnydd o hono, na neb a'i anghen yn agos atom.

Mae Rachel Rowlands, Hirwaen, yn gwella yn dda; y mae hi a dwy ferch William yn y gwersyll ar eu taith i'r Dyffryn, ynghyd â Thomas Morris ac Ann fy chwaer; diolch i chwi am eu hanfon drosodd. Terfynaf yn awr, cewch ychwaneg o'n hanes ar ol croesi yr afon.

Ydwyf mewn brys,

WILLIAM MORGAN.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

DARLUN Y LLYWYDD W. S. PHILLIPS.—Mae yn dda genym i allu hysbysu fod Darlun y Llywydd Phillips yn barod. Mae wedi ei gerfio ar ddur, ac nid ar gareg, fel yn gyffredin. Meddyliwn ei fod yn harddach nag un darlun a welsom yn mhlith y Saint, ac yn rhagori mewn tebygolrwydd. Pris y darluniau goreu yw 1s. 6c. yr un; eithr fe werthir y lleill, pan ddelont yn barod, am 1s. yr un. Yn awr yw yr amser i gael y rhai goreu, cyn y caffont oll eu gwerthu; canys meddyliwn y bydd pawb yn awyddus am ddarlun o'u Llywydd.

NI ddylai ffyliaid byth gael gweled gwaith wedi ei hanner orphen.

SYMUDWCH hen goeden, a hi a wywa.

MEGYS y gellir gweled goleu-ddydd trwy y tyllau lleiaf, felly hefyd y mae'r pethau mwyaf dibwys yn dangos cymmeriad dyn.

CYSGWCH heb swper, a deffrowch heb fod mewn dyled.

O'R holl rinweddau, Zeno a ddewisai ddystawrwydd, canys trwy hyny efe a ganfyddai anwybodaeth ereill, ac a guddiai yr eiddo ei hunan.

MAE digon o gyfeillion pan fyddo y pwrs yn llawn.

---

TALIADAU O GOR. 22 HYD AWST 4.—Llanelli, £8 15s; Gorllewin Morganwg, £3; Caerfyrddin, £1 17s 6c; Pontypridd, 14s; Dowlais, 14s 6c; Hirwaen, 10s 9c; Georgetown, £1 2s 9c; Merthyr, £1 6s; Pendaren, 17s; Ffynnon-Tydfil, 3s 2c.—Cyfanswm, £19 0s 8c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, GEORGETOWN, MERTHYR.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 17.] AWST 21, 1852. [CYF. IV.

## SYLL-DREM AR YR EGLWYS.

WELE am ennyd hamddem i daflu byr olwg ar hynt Eglwys y Goruchaf. O, fel y mae wedi ymledu ar wyneb y ddaear, ac fel y mae'r sôn am dani yn treiddio i glustiau pob cenedl. Ychydig yn ol nid oedd amgen nâ hedyn mwstardd, eithr yn bresennol y mae yn bren mawr, a'i frigau yn ymsaethu ar led-led y byd. Draw yn Nyffryn y Mynyddoedd, ei foncyff mawr a welir yn blanedig mewn tir da a ffrwythlawn, a'i gangenau a estynant eu ffrwythau melysber yn mhlith braidd pob cenedl dan y nef. O fel y mae'r Efengyl wedi myned rhagddi, ac fel y mae'r gwirionedd wedi ffynu. Diau mai dyma fyr-waith yr Arglwydd; oblegid pe le y ceir ei gyffelyb? Os edrychwn ar efengylau dynion, y maent yn ddiffygiol o adenydd, ac ni fedrant ehedeg: eu trigfan sydd yn barhaus yn Mabilon, lle y derbyniant o ogoniant y byd, yr hwn a ddiflana megys niwl. Eithr y mae Efengyl y Nefoedd ar ei chynnydd, ac yn buan gasglu etholedigion Duw i Seion, i fynwes yr Eglwys. Preswylfa yr Eglwys sydd rhwng y mynyddoedd, lle y bydd diogelwch i etifeddion yr Arglwydd, pan ysgubir trigolion Babilon â dinystr oddiwrth Dduw. Diwyd y gwelir cenadon Seion ar wasgar y ddaear; taer yw eu rhybyddion, a groesawus eu gwahoddiadau. Ni ddiffygiant yn gwneuthur daioni: am y pur o galon y chwiliant megys am aur coeth; a'r tlodion a gludant i Seion yn flaen-

ffrwyth i'r Arglwydd, er addurno ei breswylfod. Beth yw y sôn a glywir? Etholedigion yr Arglwydd ydynt yn ymgasglu o blith yr holl genedloedd, ac yn gweithio eu ffordd i ddyffrynoedd Ephraim, i drigo yn nghanol Seion. Cyflym iawn yr ufyddheir i'r alwad, "Deuwch;" rhai o bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl, a orfoleddant wrth sŵn y gair, ac a frysiant i'r ymgasgliad. Y diwedd a nesâodd, a dyfodiad yr Arglwydd sydd wrth y drws. Yn sydyn y delir y rhai annuwiol; yn nghanol eu hawddfyd y daw eu dinystr. Ymwelir â hwy â phlaau i'w caledu, ac â rhyfeloèdd i'w gwneyd yn ddiarswyd; ac nis cymmerant rybydd gan arwyddion yr amserau. Eithr Mab y Dyn, yn ei ddyfodiad, a'u darostynga i eithafion trueni a gwae, ac a'u gwna i deimlo ei lidiawgrwydd digyffelyb, pan yn ymddïal gwaed ei Saint. Y bryniau a'r mynyddoedd a neidiant, eithr nis cuddiant un o'r euogion o wyddfod yr Oen. Gwae y rhai nad adwaenant Dduw, a'r rhai ni ufyddhant i Efengyl ein Harglwydd. O ynte, chwi genedloedd y ddaear, ffowch am nodded i Eglwys Dduw; ymofynwch am ddadguddiad, ac na chysgwch nes ei gael. Mae yr Eglwys ar ymadael o'ch cyffiniau, a myned oll i'w gwlad ei hun. Mae pysgotwyr ac helwyr Duw yn cyflymu eu gwaith, a Seion yn ymnerthu yn feunyddiol. Brysio ei waith a wna yr Arglwydd, a mynu ei ewyllys ar y ddaear fel yn y nefoedd. Ei deyrnasiad ar fyrder a leinw y ddaear, a'i bobl a etifeddant eu rhan; ac ar ei freniniaeth Ef a hwythau ni fydd diwedd. O, Arglwydd, tyred ar frys. Amen.

---

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL

*Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, a gynnaliwyd yn y Tabernacl Newydd, Dinas y Llyn Halen Fawr, Ebrill 6, 1852, am ddeg o'r boreu, y Llywydd Brigham Young yn llywyddu.*

[Parhad o dud. 257.]

*Dydd Gwener*, Ebrill 9.—Agorwyd y Gymmanfa yn y dull arferol, pan y llefarodd Phineas H. Young ynghylch y gwahanol wegriniadau yn yr Eglwys hon.

Y Llywydd Brigham Young a anerchodd y Saint ynghylch eu

cynnysgaethiadau, ac a roddodd allan ddadguddiad ar ol dadguddiad ar y pwnc. Yr oedd y dylanwad mwyaf nefolaidd yn ffynu. Efe a ddiweddodd trwy waeddi, Haleliwia, Molwch yr yr Arglwydd.

Yr Henuriaid John Banks a John Young hefyd a anerchasant y Saint.

Canodd y côr, "The Spirit of God like a fire is burning."

Fe lefarodd y chwaer Bybee mewn tafodau, pan yr hysbysodd y Llywydd Young ei bod yn dafodiaith briodol, ac y gofynodd, pa beth a wnelai y cenedloedd pe buasent yma; a dywedodd, pe byddai iddo ef roddi ffordd i'r brodyr a'r chwiorydd, buasai dydd y Pentecost yn y cysgod mewn cymhariaeth i'r dydd hwn.

Gohiriwyd am un awr.

Am hanner awr wedi un, agorwyd y gymmanfa fel arferol, pan y darfu i'r Patriarch Isaac Morley, yr Henuriaid H. G. Sherwood, William Hyde, a'r Llywydd Kimball, anerch y gynnulleidfa.

Canodd y côr hymn; a gweddiwyd gan y Llywydd W. Richards.

Gohiriwyd hyd naw o'r gloch, dranoeth.

Yr Henuriaid a'r brodyr a ymgynnullasant yn y Tabernacl, yr hwn oedd wedi ei orlenwi yn hollol. Ar ol y seremoniau rhagarweiniol arferol, y Llywydd Young a bregethodd amryw bregethau ar wahanol byncian, ac yr oedd yr Ysbryd Glan yn gorphwys arno yn bwerus iawn, tra y dadguddiai efe rai o bethau gwerthfawr y deyrnas.

Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan yr Henuriad Sherwood.

*Ebrill* 10.—Dechreuodd y brodyr ymgynnull y tu allan i'r Tabernacl am saith o'r gloch yn y boreu, gan gymmaint oedd eu hawydd i glywed addysgiadau yr Arglwydd. Pan agorwyd y drws am naw, llanwyd y tŷ mewn ychydig o fynydau.

Agorwyd y gymmanfa fel arferol, pan y darfu i'r Llywydd Heber C. Kimball, a Joseph Young, addysgu y Saint mewn amryw egwyddorion mawrion a gwerthfawr, a dilynwyd hwynt gan y Proffeswr Albert Carrington, mewn araeth ragorol, ar y pwnc o feddyginiaeth, a'r gwahanol gymdeithasau meddyginiaeth, a'u dysgeidiaeth, a'r opiniynau gwrthwynebol ar athroniaeth clefyd, a meddyginiaeth.

Dygodd y Llywydd Young dystiolaeth o wirionedd y sylwadau, a dychwelodd ddiolchgarwch ar ran y gynnulleidfa.

Gweddiwyd gan y Patriarch John Smith. Gohiriwyd hyd ddau o'r gloch.

Am hanner awr wedi un, yr oedd y tŷ yn orlawn, ac agorwyd y Gymmanfa, pan y darfu i'r Henuriaid D. H. Wells, William J. Appleby, G. D. Watt, William Clayton, a'r Llywydd Kimball, dreulio y prydnawn, wrth ymdrin ag amryw faterion dyddorawl.

John Kay a ganodd "The Seer." Mawlgan gan y côr; a gweddiwyd gan y Patriarch Isaac Morley.

Am chwech yn yr hwyr, yr oedd yr Henuriaid yn Israel yn ymgynnulledig drachefn yn y Tabernacl, a gwrandawsant anerchiadau gan G. A. Smith, S. M. Blair, Richard Cook, Edward Hunter, a David Fullmer. Ymgyfammododd y Saint i beidio cael un hawl gyfreithiol rhyngddynt â'u gilydd mwy.

Gweddiwyd gan David Fullmer. Gollyngwyd y gynnulleidfa am naw.

*Dydd Sul*, Ebrill 11.—Am naw yn y boreu, galwyd y Gymmanfa i drefn gan yr Henuriad G. A. Smith, ac a agorwyd trwy ganu. Gweddiwyd gan yr Henuriad W. Woodruff.

Pregethodd y Llywydd Kimball wrth y Saint ynghylch ymddwyn tuag at eu gilydd megys yr ewyllysient i ereill ymddwyn tuag atynt hwy, gan eu hannog i beidio yspeilio y meirw. Yna efe a osododd gerbron achos yr Esgob Hunter, yr hwn nid oedd wedi ei ordeinio i'w swydd o Esgob Llywyddol, ac yn ganlynol efe a ordeiniwyd dan ddwylaw y Llywyddion Kimball a Richards. Yna yr Esgob Hunter a osododd gerbron Brigham Young a Heber C. Kimball, fel ei Gynghorwyr, y rhai a gymmeradwywyd yn unfrydol gan y Gymmanfa yn y swydd hono.

Yna y Llywydd Kimball a gyflwynodd Truman O. Angel, i barhau fel Pen-saer y Gweithiau Cyhoeddus dros yr Eglwys, ac yn ganlynol efe a gymmeradwywyd. Efe a rybyddiodd y buasai rhoddiad cynnysgaethiadau i'r Saint yn cael ei ohirio hyd ddychweliad y Llywydd Young yn ol o'i fwriadol daith ymchwiliadol i'r deau.

Yna Seth Taft, David Pettegrew, Abraham Hoagland, David Fullmer, a Daniel Spencer, a bleidleisiwyd i lanw y swydd o Esgobion Llywyddol Teithiol a Chynnorthwyol yn nyffrynoedd y mynyddoedd.

Hysbysodd y Llywydd W. Richards i'r gynnulleidfa, y bwriedid, ar ol cyfranogi o'r Sacrament yn y prydnawn, alw am gasgliad o arian, i wneuthur dysgl er gwasanaeth sacramentaidd yn y Tabernacl; ac efe a ddymunodd ar y brodyr i ddwyn eu hanifeiliaid i mewn, fel y gallai dyledion yr Eglwys gael eu talu yr wythnos ddyfodol.

Canwyd gan y côr. Gweddiwyd gan y Llywydd Joseph Young.

Am hanner awr wedi un, galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Young, ac a agorwyd fel arferol.

Yna y Llywyddion Young, Kimball, a Richards, a'r Esgob Hunter, a aethant i weinyddu y Sacrament, gan gael eu cynnorthwyo gan y gwahanol Esgobion, yn ystod pa amser llawer o bersonau a ddygasant dystiolaeth o'r gwirionedd—gan lefaru mewn tafodau a phrophwydo; ar ol hyny, gwnaed y casgliad, pan y cafwyd 149 o ddolars yn arian bathol, heblaw amryw bwysi o *watch cases*, llwyau, modrwyau, ac addurniadau ereill o arian.

Yna y Llywydd Young a roddodd rybydd y cynnaliwn gyfarfodydd cysson o hyn allan bob Sabboth, am 10 yn y boreu, a 2 yn y prydnawn, ac yn yr hwyr y buasai i amrywiol Gorwmau yr Offeiriadaeth ymgynnull i dderbyn addysgiadau. Bob dydd Iau, am 2 yn y prydnawn, y buasai i'r brodyr a'r chwiorydd ymgynnull i weddio; ac ar y dydd Iau cyntaf yn mhob mis, am 10 yn y boreu, i'r dyben o weddio ac ymprydio, gan alw ar y Saint i gadw y dydd hwnw. Yna efe a hysbysodd i'r Saint fod yr eisteddleoedd dyrchafedig ar ochr ddeau ac aswy y safle, wedi eu neillduo i'r Esgobion hyny a fyddo yn gweini y Sacrament, dros y dydd y byddant yn gweinidogaethu. Hwy a welsant y dydd hwn esiampl o weinyddiad y Sacrament. Bydd i'r Esgobion o hyn allan gymmeryd eu tro, gan gael yr îs offeiriadaeth i'w cynnorthwyo.

Mae y safle hwn a'r *vestry* wedi eu bwriadu i'r personau hyny y rhai a lefarant wrth y gynulleidfa, ac a weinyddant yn achosion llywodraethol yr Eglwys, a dysgwylir na ddaw neb i'r safle hwn heb gael ei wahodd yn gyntaf. Ar ol i'r Gymmanfa hon gael ei therfynu, dysgwylir na fydd i'r rhodfeydd a'r *vestry* gael eu gorlenwi fel y cawsant yn y gymmanfa hon.

Hysbysir yr Esgobion o'u gwahanol ddyddiau gwaith, trwy gyfrwng y *Deseret News*.

Penderfynwyd fod John Barker i fyned ar genadiaeth i Loegr, i bregethu Efengyl Iesu Grist.

Cafodd ei gynnyg a'i eilio, pan fyddai i'r Gymmanfa gael ei gohirio, i hyny fod y 6fed dydd o Hydref, am 10 yn y boreu.

Yna y Llywydd B. Young a rybyddiodd, y buasai ar y dydd Sadwrn olaf yn Awst, am 10 yn y boreu, Gymmanfa Neillduol yn cael ei chynnal yn y Tabernacl, i'r dyben penodol o drin materion, fel y gallo y brodyr a ddanfonir ar genadiaethau tramor deithio yn groes i'r gwastad-diroedd yn mis Medi, yn lle myned yn nhymmor garw y flwyddyn.

Ar y dydd Sadwrn cyntaf yn Ngorphenaf y cynnelir Cynnadledd Chwarterol y Degau-a-thrugain, yn y lle hwn, am 10 yn y boreu.

Cyfarfydda Corwm yr Archoffeiriaid yma dydd Mawrth nesaf, am chwech yn yr hwyr.

Y Proffeswr Orson Pratt a draddoda ei ddarlith olaf ar Serydd-iaeth yn y lle hwn, dydd Mercher nesaf, am 6 yn yr hwyr.

Canodd y côr hymn, a gweddiwyd gan O. Pratt.

Yna y Saint a waeddasant Hosanna i Dduw a'r Oen, Amen ac Amen, dair gwaith.

Yna y Llywydd Young a fendithiodd y Saint yn enw Iesu Grist o Nazareth, a thrwy rinwedd yr Offeiriadaeth santaidd ag oedd ynddo, gan ddywedyd, Bendithier chwi o'r pryd hwn allan ac yn dragywydd; bendithiedig fyddo y Saint yn eu hiechyd, ac yn eu teuluoedd, eu da, eu defaid, eu tai, eu ffermydd, a'r hyn oll a berthyna iddynt, yn enw Iesu Grist, Amen, ac Amen.

Felly y terfynwyd y Gymmanfa ogoneddusaf o eiddo Saint y Goruchaf yn y dyddiau diweddaf hyn. Dadguddiad ar ddadguddiad a arllwyswyd allan o bryd i bryd; yr oedd ysbryd Duw wedi gorphwys ar y Saint yn mhob cyfarfod yn ystod y Gymmanfa hon,—yr oedd tangnefedd, ewyllys da, llawenydd, ac undeb yn nghalon pob un; nid oedd swn amryson, na llais anghytunol, nac hyd y nod feddwl, wedi cael eu hamlygu trwy holl weithrediadau yr wythnos ogoneddus a dedwydd a aeth heibio. Mae y nefoedd wedi gwenu yn helaeth arnom, ac y mae y Saint wedi cael y fath dymmor o lawenydd ag na ellir byth ei ddileu o gôf y rhai ag a fuont yn ddedwydd gyfranogwyr; maent yn mwynhau rhag-flas o'r hyn sydd mewn ystor iddynt, ac y

maent oll yn ddiysgog yn ymbarotoi erbyn dydd dyfodiad ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist. Amen.

THOMAS BULLOCK,
*Ysgrifenydd y Gymmanfa.*

[Mae y cofnodion blaenorol yn fyrion iawn, ac nid ydynt ond braidd dangos cynllun a threfn y Gymmanfa. Gellir dysgwyl pregethau, anerchiadau, mynegiadau, &c., rywbryd etto, megys ag y caffom le i'w cyhoeddi.—*Gol. y Deseret News.*]

---

## NODIADAU W. GIBSON AR LYFR MORMON.

(Parhad o dud. 80, a dechreu Cyfieithad T. Job.)

YN awr mi a gyfeiriaf yn fyr at rai o'r gwrthddadleuon mwyaf poblogaidd a gyfodir yn ei erbyn gan rai o'i brif wrthwynebwyr: ac yn gyntaf, mewn perthynas i'w darddiad.

Mr. Keys, gweinidog Wesleyaidd, yn Isle of Man, a rydd yr hanes canlynol am dano:—Fe ddywed ef iddo gael ei ysgrifenu yn nhref Harmony, swydd Susquehanna, Pennsylvania, gan Martin Harris ac Oliver Cowdery, o enau Joseph Smith, pan y byddai yn eistedd â'i het ar ei wyneb, a thryloyw faen ynddi, tra y byddai y llafnau yn guddiedig hwnt yn y goedwig. Y Parch. Richard Livesey, yn ei lyfr a elwir "Dynoethiad Mormoniaeth," a honai ei ysgrifenu yn Conneaut, Ohio, gan un Solomon Spaulding, fel ffugchwedl grefyddol, a chwedi hyny a gyfnewidiwyd gan Sidney Rigdon, yn Pittsburg, Pennsylvania.

Y Meistri Chambers o Edinburgh, mewn traethawd a gyhoeddasant ar dwyllwyr crefyddol, ar awdurdod yr "Atheneum," a ddywedant nad oedd Joseph Smith ond prin galluog i ddyfeisio neu ysgrifenu hyd y nod gwehilion Llyfr Mormon, ond i'r Parch. Solomon Spaulding, ar ol gadael ei weinidogaeth, a chymmeryd galwedigaeth arno ei hun, yn Nyffryn Cherry, Caerefrog Newydd, ac iddo dori yn y flwyddyn 1809; ac i'r dyben i esmwythâu ei ofalon, iddo ysgrifenu ffug-chwedl, gan gyssylltu hanesion moelgloddiau beddrodawl Gogleddbarth America wrth ddeg llwyth gwasgaredig tŷ Israel, y rhai a dybir gan rai iddynt boblogi y cyfandir hwn, gan dybied galw y gwaith, "Y Llaw-ysgrif Ddarganfyddedig," ac iddo ei ysgrifenu yn yr hen ddull Hebraeg o gyfansoddi. Yna y gwaith a gymmerwyd at argraffydd yn Pittsburgh, Pennsylvania; ond gan i'r awdwr farw cyn ei gyhoeddiad,

yr argraffydd a roddodd fenthyg y llaw-ysgrif i Sidney Rigdon, yr-hwn mewn cyssylltiad â Joseph Smith, a'i cymhellasant ef ar y cyhoedd fel Dadguddiad Newydd.

Drachefn, mewn llyfryn gan John Thomas A.D., a elwir "Traethawd ar Darddiad, Llwyddiant, a Gwasgariad y Mormoniaid" tud. 1, y dywedir i ni, na feddyliodd Mr. Spaulding erioed gyhoeddi ei waith, ac nas danfonodd efe ef erioed i'r argraffydd gyda y dyben hyny, ond iddo ei ysgrifenu er ei ddigrifwch ei hun; ac yr oedd Sidney Rigdon mor bell oddiwrth fod ganddo un llaw yn nygiad allan Lyfr Mormon, â'i fod ef yr amser hwnw mewn cyssylltiad â Mr. A. Campbell, ac nas unodd efe â Saint y Dyddiau Diweddaf, hyd nes oedd Llyfr Mormon wedi ymddangos yn argraffedig, a'r gymdeithas wedi ei sefydlu er ys cryn amser; ond trwy i Mr. Spaulding roddi benthyg ei law-ysgrif i gyfaill, efe a syrthiodd i ddwylaw Llyfrwerthwr yn Pittsburg, Pensylvania, yr hwn naill ai a dynodd ad-ysgrif o hono, neu a gadwodd y llaw-ysgrif wreiddiol yn ei feddiant; a chwedi cael allan fod Joseph Smith yn offeryn cymhwys, trwy ei fod o natur feddal a hawdd i ymosod arno, efe a wnaethwyd i gymmeryd arno fod angel wedi ymddangos iddo, a dadguddio iddo fodoliaeth a lleoldeb y llafnau, o ba rai y dywedid i'r Llyfr Mormon gael ei gyfieithu.

Drachefn, mewn Llyfr gan Mr. A. Campbell, yr hwn y mae y boneddwr uchod, Mr. Thomas, yn siarad am dano, a elwir Arholiad i Dystiolaethau tufewnol ac allanol Llyfr Mormon, y mae yn dywedyd, tud. 18, "Pe gallwn i dyngu llais, wyneb, neu berson un dyn a roddai arno ei hun wahanol enwau, mi a allwn dyngu hefyd fod y Llyfr hwn wedi ei ysgrifenu gan un dyn; a chan fod Joseph Smith yn ddyn annysgedig, ac yn cael ei alw yn awdwr ar dudalen y teitl, nis gallaf ammau am fynyd nad efe yw ei unig awdwr a'i berchenog." Gwelwch yma, gan hyny, fod genym dystiolaethau dau weinidog Methodistaidd, sef Mr. Campbell, arweinydd cymdeithas grefyddol, a Dr. Thomas, dyn o sefyllfa dra uchel yn y byd crefyddol, ac hefyd yr "Atheneum," sef cyhoeddiad ag wyf yn credu sydd yn ermyg cymdeithas grefyddol, ac hefyd waith y fath ddynion â'r Meistri Chambers o Edinburgh, oll yn rhoddi i ni yr hyn y maent yn ei ddywedyd ydyw tarddiad Llyfr Mormon; a chan nas gallwn ddysgwyl y gall celwyddau ddyfod allan o'r fath ffynnonellau, neu y gall y

fath ddynion ddwyn camdystiolaeth yn erbyn eu cymmydogion, nid yw ryfedded fod Saint y Dyddiau Diweddaf yn cael eu dirmygu, a Llyfr Mormon yn cael ei ystyried yn wag-ystori gan y cyfryw nas mynant chwilio drostynt eu hunain, ond i gymmeryd yn ganiatâol mai felly y rhaid ei fod, oblegid fod eu Parchedigion yn ei ddywedyd. Ond yn awr, mi a gymmeraf mewn llaw i gymharu y gwahanol osodiadau yma, er edrych pa swm o gymmeradwyaeth a ellir roddi i dystiolaethau y fath ddynion duwiol a santaidd, pan fyddo eu celfyddydau mewn perygl.

Yn gyntaf, mewn perthynas i'r lle yn mha un y dywedir iddo gael ei ysgrifenu. Mr. Heys sydd yn dywedyd iddo gael ei ysgrifenu yn nhref Harmony, swydd Susquehanna, Pennsylvania; y Parch. Richard Livesey a haera ei ysgrifenu yn Conneaut, Ohio; tra y gwna y Meistri Chambers a'r "Atheneum" roi ar ddeall i ni mai yn Nyffryn Cherry, Caerefrog Newydd, yr ysgrifenwyd ef.

Yn nesaf, gan bwy yr ysgrifenwyd ef.

Mae Mr. Heys etto yn dweyd mai Martin Harris ac Oliver Cowdery a'i hysgrifenodd ef, o enau Joseph Smith. Ond Mr. Livesey sydd yn ei wrth-ddywedyd, ac yn cadarnhau mai Sidney Rigdon a'i hysgrifenodd ef o ffug-chwedl o eiddo Solomon Spaulding. Dr. Thomas a gadarnha fod y ddau yn gelwyddog, oblegid iddo gael ei ysgrifenu, neu ei ladrata gan lyfr-werthwr yn Pittsburgh, ac nad oedd un cyssylltiad rhwng Sidney Rigdon â Joseph Smith, ac â Saint y Dyddiau Diweddaf, hyd nes cryn amser wedi iddo gael ei argraffu. Ond y Parch. Alexander Campbell a'u gwna hwynt ill tri oll yn gau-dystion, ac a haera mai gwaith dyn annysgedig ydyw, ac o ganlyniad nis gallai fod yn waith i Barchedig, a chan fod Solomon Spaulding yn gyfryw, nis gallai efe fod yn awdwr o hono; ond gan fod Joseph Smith yn annysgedig, y mae efe yn barod i dyngu mai Joseph yw ei unig awdwr a'i berchenog; tra y mae Chambers a'r "Atheneum" yn traethu nad oedd Joseph Smith yn alluog i ysgrifenu hyd y nod wehilion Llyfr Mormon.

Yn awr, mi a ofynaf pwy ydym ni i'w goelio? A dderbynid y fath dystiolaeth mewn un llys cyfiawnder, fel tystiolaeth ar ba un y gallai un dyn gael ei gondemnio? Sicr na wnelid. Wel, paham ynte, y condemnir Joseph Smith a Llyfr Mormon ar y fath dystiolaeth? Tebycaf peth mai yr un achos ag y condemn-

iwyd Iesu Grist a'r Testament Newydd gan yr Iuddewon gynt, sef oblegid fod yr offeiriaid, a dynion santaidd yn ewyllysio hyny.

Yn y lle nesaf mi a sylwaf ar y gwrthwynebiadau a gyfodir yn erbyn cynnwysiad y Llyfr.

Yn gyntaf, y mae yn anrammadegol o ran ei gyfansoddiad. Hyn yn ddiau a ganiatâf, ond a ydyw hyny yn profi ei fod yn gau? nid yw yn profi ychwaneg nâ bod y rhai a'i hysgrifenasant yn ddynion annysgedig. Ond meddyliwch, er enghraifft, beth pe bai rhyw un yn ysgrifenu geiriau Pedr ac Ioan wrth borth pryd-ferth y Deml, yn gymhwys megys y traethasant hwynt, a fuasent, tybied, yn unol â rheolau grammadegol? Sicr na fuasent; canys fe ddywedir i ni i'r bobl a'u clywsant ddeall mai pobl annysgedig ac anwybodus oeddent. Pe baent yn gwisgo eu drychfeddyliau â geiriau cymhwys a phriodol, ac yn ol rheolau grammadegol, pa fodd y gallai eu hanwybodaeth a'u hannysgedigrwydd ddyfod i'r amlwg? neu, beth pe bai Pedr ac Ioan yn ysgrifenu yr un geiriau i'r bobl yn lle eu llefaru, tybied a fuasai eu hysgrif yn rammadegol? Sicr na fuasai; ac etto fe fuasai yn ysgrythyr, canys yr oeddent yn ddynion ysbrydoledig. Mae Ysbryd Duw yn rhoddi y drychfeddyliau, ac yn caniatâu i ddynion eu gwisgo yn y iaith a fyddo yn fwyaf cynnefin iddynt; ac felly y bu eu tystiolaeth i'r Iuddewon yn dramgwydd, ac i'r Groegwyr yn ffolineb. A ydyw y Beibl yn rammadegol? os nad yw, wedi yr holl drafferth a ystofwyd ar ei gyfieithad, beth a fuasai pe bai geiriau yr aradwyr, y bugeiliaid, a'r pysgotwyr, y rhai a'i llefarasant yn cael eu cadw ar glawr yn gymhwys megys ag y llefarwyd hwynt ganddynt? ac er hyn oll hwy a fuasent yn ysgrythyrau.

Yn nesaf, mi a sylwaf ar rai o'r gwrthddadleuon a ddygir yn erbyn y rhan hanesyddol o hono. Un gyfran y gwrthebir yn fynych iddi yw, hanes marwolaeth Laban trwy law Nephi. Y mae Llyfr Mormon yn dweyd i Nephi gael ei orfodi gan yr Ysbryd i dori pen Laban, ar yr hyn yr edrychir gan lawer fel prawf cadarn yn ei erbyn, oblegid (meddent) y mae yn gwneuthur Duw i noddi mwrdd-dra. Ond pe byddai i'r rhai sydd yn dywedyd felly erioed ddarllen eu Beiblau, diammau na chredent yr hyn a ddarllenent; ac os darllenasant ef, tebyg eu bod wedi anghofio ei gynnwysiad; mi wnaf yn awr gan hyny adnew-

ydda yr argraff ar eu cof, trwy ddyfynu rhai enghreifftiau a goffêir yn y Beibl, lle y cafodd dynion eu rhoddi i farwolaeth trwy gymmeradwyaeth Duw. Yn Num. xxv, 7, 8, yr ydym yn cael i Phineas yr offeiriad gymmeryd ei waywffon a'i thrywanu trwy wr a gwraig, a'u lladd hwynt ill dau; ac am wneuthur felly, yr Arglwydd a'i bendithiodd ef a'i had yn dragywydd. Yn Barnwyr iv, 15, yr ydym yn cael i'r Arglwydd gyfodi i fyny waredydd i Israel, Ehud mab Gera, Benjaminiad; a pha fodd y gwnaeth ef hyny? Fe roddir ar wybod i ni iddo wneyd dagr dau-finiog, cufydd o hyd; a myned at frenin Moab, a dywedyd wrtho i'r Arglwydd ei anfon ef â chenadwri ato; a phan wnaeth y brenin i'w weision fyned allan fel y gallai glywed y genadwri yn ddirgelaidd, efe a wthiodd y dagr i'w ymysgarodd, ac a'i lladdodd ef. Yn 1 Samuel xv, 33, yr ydym yn darllen i Samuel, Prophwyd yr Arglwydd, ar ol i Saul achub bywyd Agag, brenin Amalek, gymmeryd Agag a'i ddarnio ef o flaen yr Arglwydd yn Gilgal.

Yn 1 Bren. xviii, 40, y mae yn ysgrifenedig i Elias ddywedyd, Deliwch brophwydi Baal, na ddianged gwr o honynt, a hwy a'u daliasant; ac Elias a'u dygodd hwynt i waered i afon Cison, ac a'u lladdodd hwynt yno. Nid yw hyn ond ychydig o'r enghreifftiau a geffêir yn y Beibl am ddynion yn cael eu lladd trwy gymmeradwyaeth Duw; a phe bai i ryw un brofi Llyfr Mormon yn ffug-chwedl o achos hyn, pa beth a brofai y rhai hyny fod y Beibl? Dynion a ymresymant yn y modd hyn, er bod yn gysson â hwy eu hunain, a ddylent wadu pob un o'r ddau, a dyfod allan yn wrol ac egluro eu hanffyddiaeth.

Gwrthddadl fawr arall a gyfodir yn erbyn Llyfr Mormon, yw y cyfrif a rydd o'r cyfarwyddwr neu'r cwmpas, yr hwn oedd ganddynt i'w tywys ar eu taith. Mr. Alexander Campbell, yn ei lyfr rhag-grybwylledig, tud. 17, a ddywed, "Nid oedd cwmpawd y morwr yn wybyddus yn Ewrop cyn oddeutu 800 mlynedd yn ol. Ond yr oedd Nephi yn dra gwybodus mewn perthynas i agerfadau a chwmpawd 2400 mlynedd yn ol." Yn awr, yn mha ran o'i Lyfr Mormon *ef* y cafodd efe unrhyw beth mewn perthynas i agerfadau, nis gwn i; ond un peth a wn, nid yw hyny yn y Llyfr Mormon, yn yr hwn y credir ynddo gan Saint y Dyddiau Diweddaf; ac os yw dynion i gael eu barnu yn awr wrth yr un reol ag y barnodd Crist y Phariseaid duwiol yn ei ddydd ef, yna

Mr. Campbell, ac ereill o'i gyffelyb, a gant allan eu perthynasau wrth ddarllen Ioan viii, 44.

Ond mewn perthynas i'r Cwmpawd, mae Mr. Campbell yn dweyd fod Nephi yn gwybod y cwbl yn ei gylch 2400 mlynedd yn ol. Ond yn hyn fe'i gwrthddywedir gan Chambers a'r "Atheneum;" y maent hwy yn dywedyd, pan yn llefaru am y cwmpawd, fod yr ysgrifenydd (Nephi) wedi camddeall ei ddefnyddioldeb yn gyfangwbl; tra y mae Mr. Thomas, yn ei lyfr a ddyfynwyd yn barod, tud. 4, yn dweyd mai math o olwyn ydoedd wedi ei gwneyd i droellu ffwrdd o'u blaen, a hyny o honi ei hun, fel tywysydd iddynt ar y ffordd i ba le y byddent i fyned. Yn awr, gan mai yr un cwmpawd oedd ganddynt hefyd ar fwrdd y llong, rhaid yw ei fod yn troellu ar y dwfr hefyd. Fel hyn yn awr y cewch dystiolaethau Mr. Campbell, a'r "Atheneum," a'r Dr. Thomas, a chwi a ellwch gymmeryd eich dewis. Os credu Mr. Campbell a wnewch, yna chwi a gredwch fod Nephi yn gwybod y cyfan mewn perthynas i gwmpas y morwr 2400 mlynedd yn ol; os yr "Atheneum" a gredwch, chwi a gredwch nad oedd efe yn gwybod dim yn ei gylch, ond iddo gamddeall defnyddioldeb y cwmpawd yn hollol; pan os y credwch Dr. Thomas, yna credwch nad oedd y cwmpawd ag oedd ganddynt yn ddim mwy tebyg i gwmpas y morwr, nag yw tri dyn gonest yn debyg i dri cyhoeddwr dirmygus o gelwyddau; oblegid y mae ef yn dywedyd mai math o olwyn ydoedd ag oedd yn troi o'u blaen; ond o ba le y cafodd ef y fath ddrychfeddwl? nis gwn i, oni ddaeth o'r un ffynnonell ffrwythlawn ag y tarddodd ei holl gelwyddau ereill, â pha rai y mae ei lyfr yn llawn o honynt, ac o ba un y cafodd Mr. Campbell ei osodiadau mewn perthynas i'r Agerfadau. Mi a'u cynghorwn hwynt i honi y berthynas, oblegid gwaith eu tad a fynant wneyd: oblegid pan y maent yn traethu y fath gelwyddau, y maent yn cymmeryd o'r eiddynt eu hunain, canys celwyddau ydynt, a hwythau yw eu tadau.

Yn awr, mi a roddaf yr hanes am dano allan o Lyfr Mormon, tud. 314, "Ac yn awr, fy mab, y mae genyf beth i ddywedyd, ynghylch y peth a alwai ein tadau y bwl neu y cyfarwyddwr; oblegid ein tadau a'i galwasant ef Liahona, yr hyn o'i gyfieithu yw cwmpawd; a'r Arglwydd a'i darparodd ef; ac wele, nis gall un wneuthur y fath gywrainwaith; ac wele, efe a ddarparwyd i ddangos i'n tadau y cyfeiriad yn mha un y trafeilient yn yr

anialwch, ac efe a'i gwasanaethai hwynt yn ol eu ffydd yn Nuw; gan hyny, os buasai ganddynt ffydd i gredu y gallai Duw wneuthur i'r pegynau hyn i gyfeirio y ffordd y dylent fyned, wele, hyny a fyddai; gan hyny, yr oedd ganddynt y wyrth hon, ac hefyd lawer o wyrthiau ereill a wnaethid trwy allu Duw."

A ydyw hwn rywbeth yn debyg i gwmpawd y morwr? neu a ydyw yn debyg i olwyn a dreiglai o'i blaen o honi ei hun? Greaduriaid gresynol, yr ydych yn gofyn ein tosturi yn fwy nâ'n digofaint.

Ond yn mhellach, fe ddywedir gan ein gwrthwynebwyr, os credwn yr hanes yma, rhaid i ni gredu i Dduw wneyd neu ddarparu y bwl neu'r cwmpas hwn, ac y mae hyn yn hytrach yn fwy nas gallwn ei wneuthur. Ond, paham, fy nghyfeillion? a fuasai yn ormod i chwi, pe byddech yn gallu credu y Beibl? Oni ddywedir yn Gen. iii, 21, fod Duw wedi gwneyd peisiau crwyn i Adda ac Efa, (yr wyf yn synu pwy a flingodd y creaduriaid)? ac yn Exodus xxxii, 16, yr ydym yn darllen am Dduw yn naddu dwy lafn o geryg, ac yna gerfio y gyfraith arnynt; ac yr wyf yn tybied nad oes fawr achos i'r neb a gredo un o'r gosodiadau hyn, wrthod y llall, o herwydd ei fod yn dywedyd fod y cwmpawd yn waith Duw.

(*I'w barhau.*)

---

## FFOL ARFERION.

MR. GOL.,—Caniatewch i mi fyr anerch fy nghyd Saint ar y testun helaeth hwn, gan hyderu yr achosa hyny i rywrai adael y drwg, a glynu wrth y da.

Anwyl Saint,—Y ffol arfer gyntaf a alwaf eich ystyriaethau arni, ydyw, gwylied yn *hwyr* y nos, a chysgu yn *hir* y boreu. A oes neb a wna hyn, a'r na ennillai *fwy*, pe elai i'w wely yn gynnar, a chodi yn foreu? Trwy hyn gallai hebgor trethu ei lygaid, a defnyddio arian y dreth at ryw beth arall, a fyddai er lles ac adeiladaeth: hefyd, gallai fwynhau gwell iechyd, a byw yn hirach, ac anrhydeddu Llywydd yr elfenau, yn lle ei ddianrhydeddu. "Beth?" ebe'r hir-wyliedydd, "a ydwyf fi yn dianrhydeddu fy Arglwydd wrth hir-wylied?" Ydwyt: ac yn pregethu yn uchel, fod yn well genyt dalu am oleu *canwyll*, na chael goleu HAUL yn rhad! Y mae yr haul yn codi ac yn mach-

lud yn ei amserau priod; ond trwy dy fod di yn hir-wylied, a hir-gysgu y boreu, yr ydwyt yn pregethu yn uwch nag y gellit ar dy dafod, nad ydyw y Rheolwr mawr yn peri i'r haul gôdi a machlud yn y modd goreu; ac felly, wrth gwrs, yr ydwyt yn ei ddianrhydeddu. "Wel," ebe rhai o'r chwiorydd, "nid oes genym ni ddim gallu i wneyd ein gwaith, heb hwyr-wylied, o achos fod y plant ar ein dwylaw, a hyny hyd un neu ddau o'r gloch ambell i nos Sadwrn; ac os cyfodwn yn foreu, y plant a gyfyd gyda ni." Wel, dichon fod y plant yn cyfodi gyda chwi, ond, attolwg, pa bryd y cyfodwch? y mae y llais "dystaw bach" yn sisial, mai am wyth neu naw o'r gloch y cyfodwch weithian; os felly, pa ryfeddod fod y plant yn cyfodi gyda chwi? Y mae ar blant fwy o gysgu na dynion mewn oed; gan hyny, dyna gyfleu da i'r chwiorydd gyfodi gymmuint â thair neu bedair awr o'u blaen bob boreu; ac os dygwydd i'r plentyn lleiaf ddihuno yr un pryd â'i fam, er hyny, y mae efe o anghenrhaid yn rhwym o gysgu drachefn, er gwneyd y golled i fyny rywbryd yn ystod y dydd: hithau y pryd hwnw a all weithio â'i holl egni, a gweddio Duw ar yr un pryd, ar iddo gadw pob ysbrydion drwg, ceintachlyd oddiwrth ei baban. Pwy bynag a wnel hyn â'i holl egni, gyda dyben cywir i wasanaethu ei theulu a Duw, caiff weled y geill fyned i gysgu cyn deg o'r gloch, o ran y plant, a'r gwaith, bob nos; ac hefyd, bydd ganddi arian y canwyllau i'w taflu i'r Drysorfa Ymfudol Barhaus, fel trwy hyn y gall gael ei gwaredu o gaethiwed yn gynt. Gallaf hysbysu yr hir-wyliedydd, ei bod yn ddydd goleu am 4 o'r gloch y boreu, yr amser hwn o'r flwyddyn: dichon nad oedd efe yn cofio.

Y ffol arfer nesaf ydyw cnoi, a myglysu tybacco. Trwy ddefnyddio y cyffeir gwenwynig hwn, y mae dyn, nid yn unig yn gwario ei arian ar oferedd, ond yn talu am yr hyn a'i gwna yn ffiaidd, aflach, a rhy atgas i ysbryd Duw i drigo o'i fewn, ac yn gosod ei hun mewn sefyllfa mor druenus, fel nad oes ganddo addewid Duw o'i du, yn dymmorol nac ysbrydol; ac onid yw y dyn a ymfoddlona fod yn gaethwas i flys yn ffol, ac a chwenycho fyw mewn tywyllwch gyda'i flys am ychydig, yn hytrach nâ byw mewn gogoniant annesgrifiadwy yn Seion!

Y ffol arfer nesaf, ydyw *diota*, neu yfed gwlybyroedd meddwawl. Nid oes neb yn diota o herwydd un lles a wna y ddiod iddynt, ond o herwydd blys ati hi, neu y gwmnïaeth. O ddi-

otwr! na welit ti dy ffolineb yn anad neb: ti a gyfodi yn foreu, ac a weithi yn galed, ac yn hwyr, er ennill arian i'w rhoddi i dafarnwyr i fyw yn segur, ac i fod yn anesmwyth o'u mewn, o herwydd na wyddant pa beth a fwytäant, na pha beth a wisgant, o herwydd y cyflawnder sydd ganddynt; tithau a ennilli trwy hyn ben tost, cylla afiach, corff briw, cydwybod euog, oes fyr, a myned i uffern yn y diwedd! O ffolineb ac ynfydrwydd!

Y ffol arfer nesaf, ydyw trewlychu neu *snuffio*. Attolwg, pa beth a ennilla y chwiorydd wrth drewlychu? A oes neb yn eich plith a all fy hysbysu pa beth? Na, nid wyf yn tybied fod neb, oddieithr *porthiant blys* etto. Beth! a oes neb yn fwy anrhyd-eddus, yn fwy cymmeradwy, yn iachach, yn byw yn hirach, yn fwy tebyg o gael dedwyddwch yn y diwedd, trwy ddefnyddio snuff? Na, nid oes neb yn credu felly. Wel, beth a fwynheir ynte, trwy drewlychu? Arogliad halogedig, anadl difwynedig, golwg bwl, cylla gyffrous, a thrwy hyn gesyd ei hun yn agored i'r parlys mud; fel ag y tystia un meddyg cyfrifol, fod cant am bob un yn marw o'r clefyd hwn yn awr, yn fwy nag oedd o'r blaen, cyn i'r arferiad o ddefnyddio trewlwch ddyfod i'r byd. Wel, pwy bynag a ewyllysio einioes hir, ynte, gadawed y *snuff* yn y *shop*, a thafled yr arian i'r Drysorfa Ymfudol Barhaus, a chyda iechyd a byw yn hir o ran y parlys mud, caiff waredigaeth yn y fargen, a gair da gan wyr Duw.

Y ffol arfer nesaf, ydyw yfed tê o ddail yr India. "Beth," ebe y darllenydd, "yr wyf yn rhyfeddu atoch eich bod yn cyfrif *yfed tê* yn arferiad ffol." Dichon dy fod, ddarllenydd hynaws, ond ystyria fy ymadrodd, ac yna bydd dy ryfeddod yn fwy fod neb mor ffol â rhoddi un geiniog o'u hennill am dano, er ei yfed gyda bwyd, beth bynag. "Beth! a oes dim maeth mewn tê o'r siop?" Na, ni chlywais i neb gwybodus yn tystio, nac yn pro-ffesu y fath beth; ond y mae y meddygon enwocaf yn tystio i'r gwrthwyneb. Dywed hen feddyg fel hyn:—"Y mae pob diod frag, oddigerth ychydig ddiod fain loyw, yn ddrwg, ac felly *tê a choffi* cryf." Tystia rhai ei fod yn wenwyn ag sydd yn lladd yn araf. Ond gan nad beth am hyny, gwn fod amryw o ddail a llysiau yn ein gwlad a wna dê, llawn mor flasus, ac iachusach, a maethlonach i'n cyrff, nâ dail yr India bell, ac a geir yn rhad iawn, oddiwrth dê o'r siop. Os yw ein chwiorydd yn hoff iawn o dê, gwnaent dê o *agrimony*, troed y driw, neu y drydon; *nettles*,

dynad, bôms, bomgelia, cribau St. Ffraid, persli o'r ardd, neu lysiau'r pwdin (*organs*), *penny-royal*, pybyrmint, neu fyntys, neu ryw lysiau ereill a fo'n dda i'r cyfansoddiad, yn faeth ac iechyd i'r corff. Gwnewch dê neu ddiod fain o amryw o'r llysiau hyn a'u cyffelyb; ond na hir ddilynwch ar un math yn unig, ond cymmysgwch hwynt. A gosodwch yr arian a arferwch i brynu tê at ryw beth a fydd o les i chwi o hyn allan, yn lle i'r siopwr; a chofiwch mai *change* fydd hyn, ac nid *robbery*. Dywed yr hen ddiareb, mai "Nes penelin nag arddwrn." Felly, anwyl Saint, nad faint o les a wnewch i ereill, nac anghofiwch eich hunain, yn y pethau a nodais yn yr ysgrif fechan hon. Heb ewyllysio helaethu yn bresennol, gobethiaf y cyd-wêl pawb â mi mai ffolineb ydyw gwario arian am bethau diles. "Paham y gwariwn arian am yr hyn nid yw fara (neu faeth), a'n llafur am yr hyn nid yw yn digoni?" onid am ein bod yn ffol, ïe, a phlantos. Gan hyny, cymmerwch air o gynghor ar gân:—

Na hoffwch wylio'n hwyr y nos,
Na chysgu'n hir tra paro'ch hoes;
I fwg y myglys byddwch groes,
  A'i seigiau ffiaidd afiach;
Na hoffwch bethau meddwol 'chwaith,
Na *snuff*, na thê o'r India faith;
A gras fy Nuw fydd ar eich gwaith,
  A'i fendith ar eich llinach.

*Graig-ddu.* JOHN RICHARDS.

---

TALIADAU O AWST 5 HYD AWST 18.—Minersville, America, £5; Sir Fynwy, £2; Gorllewin Morganwg, £3; Sir Fôn, £1 1s; Cynnadledd Gymreig Liverpool, £1 10s; Pontytypridd, £1 1s 6c; Cwmbach, 10s 6c; Hirwaen, 10s 3c; Rymni, 12s 3½c; Georgetown, 19s 1½c; Ffynnon-Tydfil, 3s 2c; Troedyrhiw, 4s.—Cyfanswm, £17 1s 10c.

☞ Dymunwn hysbysu nad oes dim rhagor o Lyfrau Hymnau Dwyieithiog ar werth, ac na fydd mwy; eithr y mae genym gyflawnder mawr o'r Ddau Lyfr Cymraeg wedi eu rhwymo yn un, a buasai yn ddymunol genym weled mwy o honynt yn cael eu gwerthu.

"J. E."—Gofyna i ni, os yw ysmocio rhyw lysiau, yn lle tybaco, yn doriad ar y Gair Doethineb? Atebwn mai "brawd mogu yw tagu:" os oes rhywun am fwg, deued i Ferthyr, a gadawed y llysiau i'r cleifion. Hanner cadw y Gair Doethineb, yw gwatwar Duw.

CYFEIRIAD—Mr. Thomas Giles, near the Post office, Tredegar, Monmouthshire.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, GEORGETOWN, MERTHYR.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 18.] MEDI 4, 1852. [CYF. IV.

## UNDEB AC YMRANIAD.

[O'r "Deseret News."]

Duw a wnaeth o un gwaed bob cenedl, llwyth, ac iaith, a drig ar wyneb yr holl ddaear. Fe roddodd hefyd un iaith i bob dyn, fel y gallent ddeall y naill y llall yn eu tafodiaith eu hunain; ond pan lygrodd dynion eu ffyrdd gerbron yr Arglwydd, trwy dywallt gwaed gwirion, a chyflawni pob math o ffieidd-dra, y nefoedd a anfoddlonwyd, a thrigolion y ddaear a felldithiwyd—rhai â chrwyn duon, ereill â chrwyn tywyll, ond i gyd â chymmysgedd ieithoedd: a hyn fel cospedigaeth, fel y byddai eu gweithredoedd drwg yn amlwg iddynt eu hunain, ac i'w gilydd; fel y gallent gario ei nodau ef ar eu gwynebau, a chlywed ei swn ef yn eu clustiau yn feunyddiol, fel pe bai yn bosibl y byddai iddynt gael eu tywys i edifeirwch, trwy ba fodd y gallent gael maddeuant am yr hyn a aeth heibio, a'u dychwelyd drachefn i'w cydffurf a'u purdeb dechreuol, trwy y brynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu.

Ond pa mor bell y cafodd y barnedigaethau hyn eu heffaith ddyladwy? a oes mwy o gydffurf mewn lliw yn mysg dynion yn awr, nag oedd er ys mil o flynyddoedd yn ol? Onid yw ieithoedd a phriod-ieithoedd dynion a chenedlaethau yn amlhau, yn lle lleihau? Ac os yw y cynnydd hwn mewn amrywiaeth iaith a lliw yn parhau, pa faint o amser a gymmer i adferyd trigolion y ddaear yn ol drachefn i'w cydgyffelybrwydd creadigol? Iesu a ddywedodd, "Onid ydych un, yna nid ydych eiddof fi;" a gwir feddwl helaethaf hyn yw, *un yn mhob peth*—un mewn iaith, un

mewn lliw, un mewn ffydd, un mewn gweithrediad; oblegid pan fyddo pawb o'r un ffydd, yr un ffydd a ddwg undeb mewn gweithrediad, a phawb a gadwant y gorchymynion ac a dderbyniant yr un gyffelyb wobr trwy ddychweliad yn ol drachefn i bresennoldeb y Tad Tragywyddol yn y nefoedd.

Y gwahaniaethau hyn mewn ymddangosiadau yn mysg dynion, a gyfodasant trwy roddi gwrandawiad i hudoliaethau y diafol. Efa a hudwyd, a dwyllwyd, ac a bechodd. Adda a hudwyd, ond ni thwyllwyd; etto a bechodd fel y celai dynion fodoliaeth; a dynion sydd, fel y caffont orfoledd. Pe bai Adda heb bechu, dynion a allent beidio cael bodoliaeth, a daear a gorfoledd a allent barhau yn ddyeithriaid i'w gilydd, oblegid y mae y ddaear yn orfoleddus, pan fo ei phlant yn gorfoleddu; a phan ddel ei holl blant yn un drachefn, y ddaear a orfoledda gyda'i hiliogaeth mewn gogoniant nefolaidd.

Ond nis dichon i hyn oll gael ei ddwyn oddi amgylch mewn amrantiad. Fe gafodd dinasyddion y byd chwe mil o flynyddoedd i ddysgu fod yn well, ïe, i wneyd yn dda; ond yn lle dysgu doethineb trwy brofiad, hwy a aethant yn waeth-waeth, ac yn fwy mwy ffol a drygionus; ac yn lle dyfod i fwy o undeb, hwy a aethant i fwy o bellder: nis gall dyn chwaith adferyd ei hun yn hollol, trwy ei weithredoedd ei hun, o'r dirywiad i ba un y syrthiodd; am hyny yr ymddiriedwyd yr Offeiriadaeth Santaidd i ddyn ar y ddaear, i'w dywys yn y ffordd uniawn, a'i alluogi i wneuthur yr hyn na allasai o hono ei hun ei gwblhau; a thrwy ufydd-dod i'r Offeiriadaeth hon, y gall pob dyn, yn y diwedd, gyrhaedd y gradd uwchaf o ogoniant a dyrchafiad ag sydd yn bosibl i chwennych. Ond o'r hyn benaf, fe gymmer beth amser i gyrhaedd y nôd, a chan lawer, ac mewn llawer o bethau, fe gymmer amser maith.

Er enghraifft, hiliogaeth Cain, nis gallant fwrw ymaith dduwch eu crwyn ar unwaith, ac yn uniongyrchol, er i bob enaid o honynt allael edifarhau, ac ufyddhau i'r Efengyl, a gweithredu cyfiawnder o'r awr hon allan. Y nod a osodwyd ar Cain gan Dduw ei hun, oblegid i Cain ladd ei frawd Abel, a thrwy hyny obeithio cael meddu yr enedigaeth fraint, a sicrhau iddo ei hun y bendithion a berthynent yn gyfreithlawn i Abel. Ond nis gallasai Cain feddu genedigaeth fraint Abel trwy fwrdd-dra, megys y cafodd Jacob yr eiddo Esau trwy bryniad, trwy gytundeb i dalu

saig o fwyd, fel pe prynai fferm, a thalu pris ammodedig. A thrwy y fath gytundeb â'u gilydd, y fferm a gyfnewid feddiannydd; ond os lladd un dyn y llall er mwyn meddiannu ei fferm, nis cyfnewidia ei pherchenog, er i'r perchen farw; eithr hi a ddisgyn i'w etifeddion.

Ni chafodd Cain enedigaeth fraint a bendithion Abel, er iddo ei ladd i'r dyben hyny; y bendithion a berthynent i Abel a ddisgynasant i'w hiliogaeth ef; a Chain a'i hiliogaeth a raid wisgo y nod a roddodd Duw arno, hyd oni chaffo bendithion genedigaeth-fraint Abel yn gyflawn eu derbyn, eu sicrhau, a'u sylweddoli gan eu hiliogaeth, a phe bai i hiliogaeth Cain gael eu golchi bob dydd gan eu cyfeillion gwynion, â sebon y golchyddion, nis gallent olchi ymaith nod Duw; etto, y Canaanead a all gredu yr Efengyl, edifarhau, a chael ei fedyddio, a derbyn Ysbryd yr Arglwydd; ac os parha yn ffyddlawn, hyd oni chaffo hiliogaeth Abel eu digoni â'i fendithion, yna y gall hiliogaeth Cain dderbyn cyflawnder yr offeiriadaeth, a derbyn cyflawnder o fendithion, ac y bydd i'r ddau ddyfod megys un drachefn, wedi i Cain dalu y ffyrling eithaf.

Y Lamaniaid, trwy drosedd a aethant y bobl fwyaf ffiaidd, anwybodus, a hagr, ac a felldithiwyd â chrwyn tywyll, yr hyn nis gallant ei daflu ymaith wrth eu pleser, neu ar unwaith, er pe bai iddynt oll ufyddhau i'r Efengyl yr un pryd : etto y mae ganddynt yr addewid, os gwnant gredu, a gweithredu cyfiawnder, mai nid llawer o genedlaethau a gant fyned heibio cyn y cânt ddychwelyd yn bobl wynion a hardd ; ond fe gymmer beth amser i gwblhau hyn ar y goreu.

Etto, pan ymosododd dynion ar y gorchwyl o gymmeryd y nef trwy ruthr, yr oeddynt oll o'r un iaith ; a thra y parhausant o un iaith, unasant yn eu hymdrechion i adeiladu twr, ar ba un y gallent esgyn i gadwedigaeth ; ond pan gymmysgodd Duw eu hiaith, effaith anundeb yn fuan a ganfyddwyd, fel y darfu i bob un (ond Jared a'i frawd) lefaru erddo ei hun ac iddo ei hun, ac yn ei iaith ei hun, a neb arall yn ei ddeall ; ac ni chlywsom am un gorchwyl arall wedi'r dydd hwnw, yn mha un y gwnaeth holl drigolion y ddaear ymgydio mewn undeb i'w ddwyn oddi amgylch ; ac nid ydym yn dysgwyl clywed am ddynion yn ymosod mewn undeb cyffredinol i adeiladu twr arall hyd y nen, nac mewn un anturiaeth boblogaidd arall, hyd oni adfero yr

Arglwydd iaith bur, yr hon a lefarir gan holl drigolion y ddaear.

Fe gymmer beth amser i gwblhau hyn; oblegid ni adfera yr Arglwydd iaith bur nes bo ganddo bobl yn ddigon pur i'w derbyn gyda chalonau llawen, heb ei chamarfer megys y gwnaeth y Babiloniaid. Er mwyn lledaeniad yr Efengyl y rhoddwyd y ddawn o amryw dafodau i Henuriaid Israel, a hyn mewn rhan sydd yn ateb y dyben o iaith bur; ond pan ddel yr iaith bur, a chael derbyniad gan bawb, yna yr hyn sydd o ran a ellir yn hawdd ei ddileu, oblegid cyflawnodd ddyben ei ddanfoniad.

Nid yw hyn etto, ond o dipyn i beth y daw. Mae Duw yn gweithio trwy gyfryngau, yn gystal â dyn, er yn aml ni chanfyddir y cyfryngau hyn gan ddynion; o ganlyniad tybiant eu bod yn wyrthiol; ond y mae goruchwylwyr y nefoedd o amgylch ogylch i ni, ac yn defnyddio cyfryngau angenrheidiol i gyflawni y dyben i ba un y danfonwyd hwynt, yn ol y gyfraith wrth ba un y llywodraethir hwynt; ond oblegid nas gall llygaid corff anianol ganfod gweithredoedd ysbrydion a chyrff ysbrydol, amryw o weithredoedd y Jehofah a ymddangosant yn wyrthiol, ond hyn oll sydd i'w briodoli i anwybodaeth a byr olwg dyn.

Tra yr oedd melldithion yn cael eu tywallt o'r nefoedd yn y dyddiau gynt, ar benau y rhai a weithredent ddrygioni, bendithion a ystofid ar y rhai ag oedd eu gweithredoedd yn rhyngu bodd yr Arglwydd, megys y bu yn achos Abraham, bendithion yr hwn oeddynt i ddisgyn i'w hiliogaeth trwy Isaac, Jacob, Joseph, Ephraim, &c., hyd y cenedlaethau diweddaf; o ba rai y mae Saint y Dyddiau Diweddaf; ac Ephraim, er ei fod yn iau nâ Manasseh, a dderbyniodd fendith fawr Jacob, a sicrhaodd yr enedigaeth-fraint, ac a gyhoeddwyd yn gyntaf-anedig, a chynnalydd cyfreithlawn yr Offeiriadaeth, ac yn ei hiliogaeth yr adferwyd yr Offeiriadaeth yn yr oruchwyliaeth hon.

Trwy yr Offeiriadaeth hon yr aeth yr Efengyl allan at lawer o genedlaethau; llawer a glywsant ei llais hi; amryw a'i cofleidiodd gyda chalonau llawen, a edifarhausant, ac a fedyddiwyd er maddeuant o'u pechodau, ac yn awr sydd yn dyfod allan i'r ymgasglfa yn Nyffryn y Mynyddoedd, mewn ufydd-dod i'r gorchymyn santaidd a roddir yn yr oruchwyliaeth hon, ac ereill dan yr Efengyl,—megys y dywedodd yr Iachawdwr, "Pa sawl gwaith y mynaswn eich casglu ynghyd, fel y casgl y iar ei

chywion dan ei hadenydd, ond nis mynech; ac yn awr eich tŷ a adewir i chwi yn anghyfannedd;" felly y bydd yn yr oruchwyliaeth hon, ar bob un nad ymgasglo ynghyd pan gaffont y cyfleusdra, hwy a ddymchwelir yn nghanol y cenedloedd yr un modd ag y dinystrid Lot yn nghanol y drygionus, pe bae yn peidio ffoi allan o'r ddinas, ac ymgasglu ei hun a'i deulu i'r mynyddoedd.

Ond paham na achubir y Saint bant yn mhlith y cenedloedd yn gystal â chartref, ac yn eu plith eu hunain? Oblegid na ordeiniodd Duw hyny. Ni a allem ofyn yn ein tro, a chyda yr un priodoldeb, paham na allai y bobl gael eu hachub trwy gredu a gweithredu ar gynnifer o ffyddiau a chredoau ag sydd o saint i weithredu, yn gwbl gystal ag i bawb gredu a gweithredu yr un peth? Oblegid na ordeiniodd Duw ef. Mae'r Iesu yn dywedyd, "Os ydych un, yna yr ydych eiddo fi;" ac mae Satan yn dywedyd, "Os nad ydych yn un, yna ydych eiddo fi." Er dyben cael y Saint yn un, anghenrhaid yw eu cael yn nghyd, eu dysgu yn yr un egwyddorion, eu gwreiddio yn yr un ymarferion, byw dan yr un cyfreithiau, ïe, cynnefino yn yr un ordinhadau, fel y gallont gael eu parotoi i'r un mynediad i ogoniant nefol.

A all hyn gael ei ddwyn oddi amgylch tra y bo y Saint yn byw mewn gwahanol wledydd, llefaru ieithoedd gwahanol a dyeithr, yn anadnabyddus ag ymarferion a defodau eu gilydd, a thra bo llawer yn gorfod ufyddhau i'r llywodraeth lle y maent, yr hon yn fynych ni chaniatâ i'r Efengyl gael ei phregethu o fewn i'w chyffiniau, llawer llai i ordinhadau bywyd ac iachawdwriaeth gael eu gweinyddu? ac os yw hyn yn anmhosibl, y mae rhesymau digonol paham y gorchymynodd yr Arglwydd ymgasglu i'r un gorlan, lle y gallent gael eu dysgu yn eu gwahanol ddyledswyddau, a dyfod yn un yn mhob peth.

Ond wele y Saint ynghyd, fel y gallont ddyfod yn un; a pha fodd y gallant gyflawni hyn? Trwy i bob un garu ei gymmydog fel efe ei hun, a gwneyd megys y chwennycho iddo wneuthur iddo yntau, mewn meddwl, mewn gair, ac mewn gweithred. Wele ni yma yn Seion, wedi ymgasglu o fawr amryw genedlaethau, o wahanol dafodieithoedd, ymarferiadau, ymddygiadau, defodau, tueddiadau, galwedigaethau—da, drwg, a chanolig, megys y dygasom hwynt o'n crydiau: gan hyny, gadewch i ni gasglu

pob da, o bob cenedl, a'i ddiogelu, taflu y drwg ymaith, a diwygio y canolig mor bell ag y byddo modd, fel y caffo pob peth ei ddiogelu a fo werth diogelwch—a gadael y pethau sydd o'r tu ol, gan wthio yn mlaen i berffeithrwydd.

Yn awr bydded i bob un wneyd, megys yr ewyllysiai i arall wneuthur iddo yntau, nid yn unig trwy gyfranu o'i gyfoeth, mewn aur, arian, marsïandiaeth, neu ryw nwyddau o ba natur bynag, ond mewn talu ei ddyledion, a hyny yn ewyllysgar hyd eithaf ei allu, a chyfranu yn rhadlawn bob cyfarwyddyd a duedda fod o les i adeiladu Seion.

Ond, medd un, "Mi a wasanaethais saith mlynedd o brentisiaeth i ddysgu fod yn saer, ac a ydych chwi yn meddwl fy mod yn myned i roddi y wybodaeth a ennillais ar gymmaint o draul amser ac arian, i un dyn, heb ad-daliad rhesymol? na, nid mewn un modd; nis gallaf wneyd hyny. Os yw fy mrawd am ddysgu y gelfyddyd, bydded iddo wneyd megys y gwnaethym innau—talu hanner can punt o arian i mi neu ryw feistr da arall, a rhoddi i mi saith mlynedd o'i waith." Tra fo y saer yn dweyd ei ystori, y gof, y cistenydd, masgnachwr, teiliwr, physigwr, hetwr, cyfreithiwr, cyfrwywr, cylchwr, trecwr, melinwr, llifiwr, garddwr, ffermwr, crydd, pobydd, botasydd, melinydd, tanwyrdd, cyffeithwr, dylwyfynwr, fferyllwr, a'r holl felly yn y blaen o alwedigaethau, a dyrant i'r fan, ac a unant yn mhenderfyniad y saer; eu gwybodaethau a gostiodd yn rhy ddrud, ac nis gallant ffwrdio eu rhoddi ymaith yn rhad.

Yr egwyddor a gofleidir yma sydd mewn cydundeb ag arferion y byd yn gyffredinol, ac os yw yn dda ac uniawn i fod yn mhlith y Saint, ni a ddymunem ei gweled, ac yn wir fe ddylai fyned yn ei blaen. Beth yw y pethau bychain neillduol, a'r cyfanswm mawr yn mysg y Saint, ond adeiladu i fyny deyrnas Dduw? A pha beth sydd gan y Saint a'r nas derbyniasant? ac o ba le y derbyniasant yr holl bethau daionus, ond oddi wrth Dduw? ac a all neb ag sydd yn hyddysg yn y pwnc roddi gwybod i ni, beth yw y gwahaniaeth rhwng ysbrydolrwydd a thymmorolrwydd yn nheyrnas Dduw, a pha le y mae un yn darfod a'r llall yn dechreu?

Tra yn dysgwyl am atebiad, gadewch i ni feddwl i'r saer (yr hwn a osodwn i bersonoli yr holl alwedigaethau ereill) gyfarfod â'r Prophwyd, sef arweinydd Israel, a dywedyd wrtho, A welwch chwi yn dda fynegi i mi pa fodd y gallaf wahaniaethu rhwng

angel tywyllwch ac angel goleuni, neu rhwng angel drwg ac angel da; oblegid yr wyf yn deall fod Satan weithiau yn ymrithio fel angel goleuni, ac y mae ofn arnaf y gallaf gael fy nhwyllo; neu i'r crefftwr ofyn trwy ba allwedd y gallai agoryd y drws i deyrnas nefoedd, neu i bresennoldeb y Tad (oblegid y mae gan y Prophwyd fwy o allweddau nâ'r holl grefftwyr yna a'u gosod yn nghyd); ac i'r Prophwyd ateb, Mi a dreuliais dair gwaith saith o flynyddoedd i ddysgu y pethau yna, ac i wybod pa fodd i adeiladu teyrnas Dduw, a chael iachawdwriaeth ynddi, trwy ympryd-iau a gweddiau, a theithiau ac ymchwiliadau, a blinderau, a gwyliadwriaethau; ac a dalais allan filoedd o ddollars heblaw, er cyrhaedd y wybodaeth ydych chwi yn ymofyn; ac a ydych chwi yn tybied yr âf i roddi bant yr hyn a gostiodd i mi mor ddrud? na wnaf, mewn un modd; os chwennychwch wybod yr hyn wyf fi yn wybod, rhaid i chwi ddysgu y gelfyddyd, fel y gwnaethym i. Beth a feddyliech chwi am y fath Brophwyd?

Oni ddywedai pob un, yr wyf yn meddwl fod gan y prophwyd dair gwaith y cyfleusdra i ddywedyd felly, nag sydd gan y saer neu'r crefftwr, oblegid fe dreuliodd gymmaint dair gwaith o amser ac arian i ennill ei gelfyddyd? Ond aros fynyd, ac ystyria na threuliodd un o honynt ei amser ei hun, oblegid nid oedd gan un amser i'w dreulio; eiddo yr Arglwydd oedd y cwbl, ac efe a roddodd ei fenthyg iddynt i ennill gwybodaeth, fel y byddai ganddynt gyflawnder i gyfrannu i eraill, yn rhad megys y derbyn-iasant.

Yna, gan fod gan y Prophwyd dair gwaith y cyfleusdra i wneyd esgusodion dros beidio cyfranu gwybodaeth, pan ofynir, oblegid ei draul mewn amser ac arian; a chan nad oes gan un o honynt sail dros y fath esgusodiad, gan fod y cwbl yn eiddo i'r Arglwydd, nid ydym yn dysgwyl clywed un crefftwr neu ddysg-awdwr yn mhlith y Saint yn gwneuthur esgusodion dros beidio cyfranu yr holl wybodaeth a dderbyniodd, pa bryd bynag y gallo fod o ddefnydd i unrhyw ddyn, cyn iddo yn gyntaf glywed y Prophwyd yn gwneyd y fath esgusodion; a phan ddywedo efe, Mi a wasanaethais fy mhrentisiaeth yn Lloegr, yn Germany, yn Ffrainc, yn yr Eidal, yn Spain, yn Denmark, yn Russia, yn Lloegr Newydd, neu China, neu ryw le arall, ac nis gallaf roddi fy ngwybodaeth i bant, hi fydd yn llawn bryd i'r crefftwyr, meddygwyr, cyfreithwyr, a'r offeiriaid i wneyd y fath esgus-

odion; ac alltudiad o'r fath ddrychfeddyliau o blith y *Saint*, a ddinystriai un achos o deimladau anghysurus, ac a dueddai i ddwyn yn mlaen Deyrnas Dduw ar y ddaear.

Fe ddylai pob plentyn ddysgu ac ymarfer y gelfyddyd neu'r alwedigaeth hono i ba un y mae wrth natur yn fwyaf tueddol. Y bachgenyn sydd â dawn ac archwaeth naturiol i fod yn ôf, a wna gylchwr da nemawr byth; ac amryw o'r talentau celfyddydol penaf a orfuwyd i ddysgu eu galwedigaethau allan o amser, trwy ei hymdrechion eu hunain, pan yn cynnal eu hunain trwy eu diwydrwydd, ac efallai rieni egwan, neu chwaer amddifad ar yr un pryd; yna bydded i bawb, nid oes gwahaniaeth o ba wlad, i gyfranu eu gwybodaeth yn rhad, a gwneyd pob daioni a allant; a pheidio cuddio eu talent mewn napcyn, rhag eu cael yn weision anfuddiol.

Bydded i bob gwahaniaeth cenedlaethol gael ei ymlid ffwrdd o blith y Saint, oblegid y mae Duw yn gwneyd ei ran i ddwyn oddiamgylch yr amser pan gaffo yr oll a weddillir deimlo eu bod o un gwaed—a ymddygant at eu gilydd megys brodyr, a llefaru iaith bur; ac ni ddywed un, Myfi wyf o Paul, arall o Apolos, arall o Cephas; ac myfi wyf o Loegr, minnau wyf o Ffrainc, a minnau wyf o'r Almaen; ond pawb a ddywedant, Yr wyf fi o'r ddaear a thros Iesu Grist, a theyrnas Dduw, a'm holl ymdrechion a gant fod dros ei dygiad yn mlaen; a'r hyn wyf fi yn wybod, a ellwch chwithau hefyd ei wybod.

Gwybodaeth, megys arian, pan iawn ddefnyddir, a gynnydda yn feunyddiol; ond os cuddir, a ryda, ac a waethyga mewn gwerth.

Fe ddywedir weithiau fod gan y Llywyddiaeth a'r Henuriaid ragfarn yn erbyn Saint o wledydd ereill,—Seison, Daniaid, Dutch, &c., oblegid eu bod yn cyfeirio at eu ffaeleddau, y rhai a sugnasant yn eu babandod, y rhai a gyfodant oddi ar neillduolrwydd eu cenedlaethau, a'r rhai a ddygasant ganddynt i blith y Saint; hyn sydd ddrychfeddwl camsyniadol.

Y mae gan y cenedloedd eu cenedligrwydd priodol, a'u rhagfarnau cenedlaethol; y Saint, megys ereill, cyn iddynt glywed yr Efengyl, a ymorweddent yn yr un camsyniadau, fod eu cenedl hwy yn fwy pur, yn fwy pwerus, ac yn fwy doeth, a chanddynt harddach darlunfa, llai tylodi, neu fwy o ardderchogion, nag un arall. Ond y cyfryw bethau a ddylent gael eu hymlid i ffwrdd o blith y Saint; nid oes iddynt le yn meddyliau eu llywyddiaeth, a

phan fyddont yn cyfeirio at hynodion, neu ffaeleddau cenedlaethol, y maent yn ei wneyd, fel y byddo iddynt gael eu dileu o blith y Saint; oblegid y maent yn wastadol yn cofio ein testun, ac yn cyfrif yn dda yr hwn a wnelo dda, ac yn oreu yr hwn a wnelo oreu; a'r rhai oll a brofasant o ddaionus air Duw, a nerthoedd y byd a ddaw, a wna nemawr sylw pa un a gafodd brawd neu chwaer eu geni yn Kamtschatka, neu y Jerusalem Newydd, os bydd eu bywyd a'u hymarweddiad mor bur ag y byddont yn alluog eu gwneuthur.

Y byd yw cartref tragywyddol y Saint, a chan y Saint y mae'r un modd a chan y Cenedloedd—y rhai a wnant oreu sydd oreu; a'r ffordd i bob Sant a chwennycho gadw i fyny gymmeriad ei genedl yw diwygio ar bob dysgeidiaeth a cherydd a ddaw allan o'u priodol le, a pheidio byth mwy coleddu eiddigedd, i feddwl fod gan eu harweinyddion ragfarn tuag at eu cenedl, oblegid eu bod yn cyfeirio at eu ffolineb a'u camsyniadau cenedlaethol.

*Cyf.* THOMAS JOB.

---

## ADOLYGIAD AR LYFR MORMON.

DICHON y carai ein darllenwyr weled yr adolygiad a wnaeth Golygydd SEREN CYMRU, ar y cyfieithad Cymraeg o Lyfr Mormon, copi o ba un a ddanfonasom iddo i'r dyben hyny. Mae yr adolygiad dan sylw i'w weled yn y Rhifyn am yr 8fed o Orphenaf, 1852, yn y newyddiadur crybwylledig, yr hwn a gopiwn fel y canlyn:—

"Nis gellir dysgwyl i ni roddi un cymmeradwyaeth i'r gwaith hwn, na chanmawl ofergoeledd y Cymry am roddi cefnogaeth i'w gyhoeddi yn Gymraeg; ac nid oes un cyfansoddiad a osodir i fyny yn gyfartal i Air Duw, yn haeddu ond y condemniad mwyaf penderfynol. Pa fodd bynag am hyny, nid oes un perygl i'r sawl a'i ddarlleno yn ystyriol i gael ei hudo ganddo, fel ag i droi yn un o Seintiau y Dyddiau Diweddaf; canys nid ymddangosa i ni ond cruglwyth o chwedlau ffol, wedi eu cyfansoddi yn ddichellgar i efelychu, i ryw raddau, yr hanes ysgrythyrol, ac enwau y personau wedi eu newid, a llawer o ffug-hanesion wedi eu hychwanegu. Pa fodd bynag am hyny, mae y gwaith wedi ei argraffu yn dda, ar lythyren eglur a phapyr rhagorol, fel y mae pob gwaith o eiddo Mr. Davis. Mae y cyfieithad hefyd yn rhwydd a dealladwy."

Yn awr, dyna yw barn y Golygydd uchod am Lyfr Mormon; ac yr ydym ni yn teimlo yn ddiolchgar iddo am ddweyd ei feddwl; canys ni allai ddweyd dim a roddai fwy o gymmeradwyaeth i Lyfr Mormon, nâ'r hyn a ddywedodd. Pe dywedai y byd yn dda am y llyfr hwn, buasai yn brawf i blant Duw mai eiddo y byd fuasai, canys y maent hwy yn caru cynnyrchion eu hunain; ond gan y dywedir ei fod "yn haeddu y condemniad mwyaf penderfynol," mae yn amlwg ei fod o Dduw, yr hyn a wyddom ni er ys cryn amser. Mae y byd yn credu y Beibl o herwydd ei fod yn hen; yr un fath y credai y Phariseaid yn ysgrifeniadau Moses a'r prophwydi. Mae'r diafol mor dda ganddo am hen ysgrythyrau â neb, gan ei fod yn llwyddo gan ddynion i'w gwyrdroi er eu dinystr. Yr oedd efe yn adrodd ysgrythyrau wrth demtio ein Harglwydd; ac y mae ei holl blant yn gwneuthur defnydd o honynt er llwyddo achos eu tad diafol. Os yw y Saint o Dduw, mae enwadau crefyddol y wlad o'r diafol, nad pa gymmaint yw eu parch o'r Beibl. Eithr parchu yr ysgrythyrau y maent fel y Phariseaid, onide buasent yn credu yn Llyfr Mormon; canys y mae'r ddau lyfr wedi eu hysgrifenu dan arweiniad yr unrhyw ysbryd, yr hyn a ŵyr pawb ag ydynt wedi derbyn yr Ysbryd Glân yn eglurhaol iddynt eu hunain.

Ychydig y mae golygyddion a phregethwyr sectaraidd yn feddwl fod eu hadolygiadau a'u pregethau yn erbyn Llyfr Mormon, yn llefaru mwy drosto, nag a ddychymmygodd eu calonau erioed. Yn ngwyneb yr holl guro arno, y mae yn gweithio ei ffordd i blith holl genedloedd y ddaear, ac y mae eisoes yn gyhoeddedig mewn chwech neu saith o brif ieithoedd y byd; ac erbyn hyn y mae oddeutu dwy fil a hanner o gopïau Cymraeg o hono yn nwylaw meibion Gwalia, heblaw amryw gannoedd o gopïau Seisnig, ac ieithoedd ereill. Nid oes blwyddyn er pan ymddangosodd yr holl gyfieithadau hyn; a pha beth a allwn ddysgwyl mewn blynyddau dyfodol? Gallwn ddysgwyl na fydd un genedl dan y nefoedd heb gael ei rhybyddio am iachawdwriaeth trwy ufyddhau i'r Efengyl, a dinystr trwy beidio. Yn wir, yr Arglwydd a gwblha ei waith, ac nis gall dim ei attal.

## LLYTHYR ODDIWRTH CAPT. D. JONES.

*Dinas Manti, Mai* 1, 1852.

Hybarch Frawd Phillips,—Wedi oediad maith, ysgrifenaf etto i'ch coffâu chwi a'r hynaws Saint yn Nghymru, fy mod hyd yma yn fyw, ac yn parhau yn y mwynhad o freintiau a bendithion, tymmorol ac ysbrydol lawer. Yr hyn a achosodd yr oediad oedd, o herwydd ddarfod i'r Llywydd Young fy nghynghori yn yr Hydref diweddaf, i ymbarotoi i genadiaeth i Gymru, ac felly, dysgwyliais i gario fy llythyr fy hunan; eithr, daeth efe ynghyd ag ugeiniau o frodyr ereill drwodd yma ddoe, i ymweled â'r sefydliadau deheuol, a gorchymynodd i mi ymbarotoi i ymchwilio yn mhellach am y "Madogiaid," yn yr Hydref dyfodol; dywedodd ei fod yn ddiweddar, wedi clywed cryn lawer o hanesion difyrus am danynt, pa rai fyddent rhy faith i'w traethu yn y llythyr hwn: yn ol hyny y gwnaf.

Anwyl Frawd, yr ydych chwi a'ch cenadiaeth bwysig yn cael lle ar fy meddwl, ac yn fy ngweddiau yn fynych, ac y mae yn peri llawenydd nid bychan i mi glywed trwy lythyron, &c., fod yr Arglwydd yn eich cynnal, ac yn eich galluogi drwy ei Ysbryd, i lywyddu yr eglwys yna gyda llwyddiant—i glywed, meddaf, fod undeb a chariad yn ffynu, hyd nes denu pechaduriaid i ufyddhau i efengyl Crist; a diau pe deallai y Cymry, yr hyn sydd mewn mwyniant yma, ynghyd â'r pethau sydd yn eu haros hwythau yna, yr ufyddhaent fel cenedl ar frys; ond trefnodd Duw mai "trwy ffolineb pregethu y mae achub y rhai sydd yn credu;" felly, rhaid iddynt gredu eich tystiolaeth, cyn y gallant weled trwy y gudd-len sydd rhyngddynt â'u tynghed ddyfodol, y naill blaid neu'r llall.

Diau y dysgwyliwch beth hanesion genyf y tro hwn etto; y goreu o ba rai yw, fod trigolion yr holl ddyffrynoedd hyn yn mwynhau iechyd a heddwch cyffredinol: gŵen wyneb eu Tad arnynt hwy a'u heiddo, a'u llafurwaith, yn dymmorol, ac yn mwynhau mwy o freintiau, bendithion, goleuni, a gwybodaeth o Dduw ein Tad, a threfn yr iachawdwriaeth fawr yn barhaus. Ac ni chanfyddwyd erioed yn yr eglwys hon, y fath ymroad unfrydol, a phenderfyniad diysgog a chyffredinol i adeiladu teyrnas yr Iesu, ag sydd drwy'r dyffrynoedd hyn yn awr; yr hyn undeb,

a sêl frwdfrydig, a dynodd i waered yn y gymmanfa ddiweddaf, fwy o fendithion a gwybodaethau nag erioed o'r blaen. Y mae y brodorion cylchynol i'r sefydliadau yn heddychol yn awr. Y mae y deyrnas *wedi dyfod* yn ein plith ni yma, yr hyn ddyfodiad ag y chwennychodd ein henafiaid gymmaint am fwynhau rhan o hono. Y mae amaethyddiaeth mor flodeuog nes y mae holl ystôrdai y wlad wedi eu gorlenwi â llafur, a digonedd o wenith i gael am o ddau hyd bedwar swllt y bwshel, o 60 pwys yr un. Caws o 6c. i 10c.; ymenyn o 10c. i 1s.; cyffylau yn rhatach nag erioed yma; anifeiliaid corniog yn dal y prisiau blaenorol; dilladau oddeutu dwbl y prisiau Americanaidd; eithr y mae prinder arian yma yn bresennol, yr hyn a achosa i'r Marsïandwyr, gan mwyaf, gludo eu nwyddau i'r aur gloddiau oddiyma. Y mae yma ymdrechiadau gwrol o blaid anymddibyniaeth ar yr holl fyd a'i farchnadoedd, trwy gynnydd celfyddydau cartrefol; ac y mae eisoes ran fawr o'r trigolion yn gwneyd eu dilladau a'u rheidiau eu hunain, cyn belled ag yr hwylusa yr hinsawdd y defnyddiau i dyfu; ac y mae sefydliadau yn ymehangu yn ddeheuol o hyd, lle y cynnyrchir yr oll ag a gynnyrcha unrhyw hinsawdd. Tra y parha yr heddwch a'r nodded cartrefol, ag sydd yn amdoi y dyffrynoedd hyn yn bresennol, ni raid i chwi na ninnau anesmwytho dim o barthed i'r genfigen a'r gynddaredd a ymddangosa yn ein herbyn yn y Taleithiau, nac yn un parth o ystôl-draed ein Tad.

O barthed i'r ymfudiad yma y flwyddyn hon, nid oes lle i ammau yn hwy, a'r na fydd yn mhell tu hwnt i un flwyddyn fynedol drwy'r Taleithiau. Parotoir yma i anfon ugeiniau, os nad rhai cannoedd o bedrolfeni, i gyfarfod â'r mudolion traed, pa rai fyddant hyd y ffordd wrth y miloedd, dygir ymborth, &c., iddynt tua hanner y ffordd i'r Taleithiau.

O barthed i'r ymfudiad o Gymru, diau eich bod chwi yn cael pob cynghorion dyddorol oddiwrth y Llywyddiaeth yn Llynlleifiad; etto hyn a ychwanegaf i ystyriaeth y Saint ymfudol oddiyna,—Ymdrechent am gadw Ysbryd Duw gyda hwynt, fel na chollont ysbryd yr ymgasgliad, ac nad anghofiont eu dybenion cynhyrfiol yna, neu'r dewisiad diweddol ar ol cyrhaedd yma. Gwyntyll gref yw yr ymgasgliad hwn, a gwyn fyd yr hwn a gadwo ei olwg ar y nôd yn ddyfal. Y mae yn ddrwg genyf ddeall fod amryw o'r Cymry a gyrhaeddasant i'r Llyn Halen

Fawr y llynedd, yn, neu wedi cychwyn i'r mŵn-gloddiau yn groes i gynghor, i farw o'r "clefyd melyn," fel y gelwir chwant yr aur; o'r ddau, gwell i'r Saint fyw a marw yn ffyddlon yna, a myned i baradwys, na cholli eu gogoniant dyfodol drwy geisio ymgasglu a methu. Derbyniais lythyr oddiwrth Thomas Giles yn ddiweddar, yr hwn a barodd i mi fawr gysur; diolchwch drosof iddo am dano, ac ymdrechaf ad-dalu cyn hir drwy ysgrifenu ato. Ni chefais ond un llythyr oddiwrthych chwi er pan eich gwelais; a'r pleser o weled eich henw *a'ch llaw eich hun* ar yr anrheg ddymunol o geryg ffrwythau; cefais tua hanner yr hyn a anfonasoch, a diolch yn fawr am danynt. Ni chlywais oddi wrth y Brawd Davis er's llawer o amser, beth yw'r achos? ac ni chefais yr UDGORN, ond y gyfrol gyntaf, ac ychydig rifynau dwy flwydd oed braidd wedi hyny, oddiwrth H. Evans. A ydyw fy hen gyfoedion wedi marw oll braidd, ynte ar y ffordd yn dod? Mae fy nheulu yn iach, a'r holl Gymry a'r a glywais. Anerchwch y Saint anwyl yna droswyf yn serchus; yr Arglwyd grasol a'u bendithio hwy a chwithau, a'r Brawd Davis, Pugh, &c. Yr wyf finnau yn eich bendithio oll. Amen.

Ydwyf, yr eiddoch, &c.

D. JONES.

[Mae yn ddrwg genym fod cymmaint o lythyron a llyfrau ag oeddym wedi yru at ein hoff frawd Capt. Jones, heb ei gyrhaedd. Ond dichon, wedi yr elo y cwmnïoedd presennol i ben eu taith, y bydd wedi derbyn amryw o honynt. Yr ydym yn dyfynu a ganlyn o lythyr a ddanfonodd y brawd Jones i ni, ar yr un dydd â'r uchod:—" Diolch yn fawr i chwi am y llythyron a anfonasoch er's llawer dydd, a'r llyfrau; nid oes dim yn fwy yn fy awydd na chlywed hynt yr efengyl yn Nghymru hoff, a da iawn fyddai genyf glywed yn amlach. Y Duw doeth a'ch bendithio chwi oll â chariad, â doethineb, ac â llwyddiant bythol, yw'm taer weddi beunydd. Y mae fy ngwaig a'm plant yn mwynhau iechyd da, (diolchaf am hyny), ac yn ymuno â mi i gofio atoch chwi a'ch teulu, a'r Brawd Phillips a'i deulu, Pugh hynaws, ynghyd â'n holl gydnabod, yn enwedig â'r Saint oll; buan y cwrddwn chwi oll yma fel gwenith wedi ei gasglu i ysgubor cyn y del y drygfyd. * * * Gobeithiaf glywed llawer o newyddion oddiwrthych cyn y cychwynaf i'r deau yr Hydref i chwilio allan yr Indiaid Cymreig, wedi hyny talaf y newyddion yn ol, debygaf! Clywais eich bod yn cyhoeddi yr Athrawiaeth a Chyfammodau, ynghyd â Llyfr Mormon, yn Gymraeg. O mor dda fyddai genyf eu gweled; eu Hawdwr a'ch cynnysgaetho â doethineb gogyfer â'r gwaith pwysig, meddaf fi." Mae y gweddill o'r llythyr yn bersonol, ac

yn gwbl atom ni ein hunain. Mor dda genym yw clywed oddi wrth un a draethodd wrthym gyntaf o neb am allu Duw yn y dyddiau diweddaf.—GOL.]

---

## LLYTHYR AT Y LLYWYDD W. S. PHILLIPS.

*Winter Quarters, Gorph.* 8, 1852.

ANWYL FRAWD PHILLIPS,—Yr wyf yn awr yn bugeilio anifeiliaid, ar hyd safle tref Winter Quarters. Nid oes yma neb yn byw, nac un tŷ ychwaith ar ei draed, ond yn unig hen olion tân coed; yma ac acw y mae y borfa braidd yn gorchuddio y cwbl. Fe grybwyllir enw y dref hon mewn amser i ddyfod er dirmyg a gwarth tragywyddol i Unol Daleithiau yr America, o herwydd fe fu oddeutu 700 o'm brodyr a'm chwiorydd anwyl farw yma mewn amser byr, a phlant oedd y rhan fwyaf o honynt, o achos iddynt gael eu herlid i'r anialwch oerllyd, o Nauvoo, yn ddiachos, ond o herwydd eu crefydd, gan sectariaid gwaedlyd y Taleithiau.

Y mae y gwersyll yr wyf fi yn perthyn iddo yn mhell yn mlaen erbyn hyn, sef y trydydd ar ddeg. Y mae ambell un o hen elynion y Saint yn Missouri, a lleoedd ereill, yn myned yn gynddeiriog o ddigofaint at y Saint, o herwydd fod Llywydd yr Unol Daleithiau yn dyrchafu rhai o'r Saint yn swyddogion gwladol uchel yn awr ac eilwaith, er gwaetha'r celwyddau sydd yn cael eu dweyd a'u cyhoeddu am y Saint. Oblegid fod gelynion y Saint yn methu codi plaid i'w herlid yn ddiachos, bygwthiasant fyned dros afon Missouri i dir yr Indiaid, i wneyd niwed i'r brawd E. T. Benson ac ereill, gan dybied y gallasent wneyd hyny yn hawdd, o herwydd fod y brawd Benson yn aros hyd y diweddaf, cyn myned tua'r Llyn Halen; felly buasai heb neb i'w gynnorthwyo, debygsent hwy, oblegid fod y Saint wedi myned o'i flaen i gyd. Rhag ofn y buasent yn cymmeryd y fantais o niweidio neb, fe ddarfu o 3 i 5 o amryw gwmpeini gael cynghor i aros dan y buasai y rhai olaf yn dyfod dros afon Missouri; dyna y rheswm fy mod i yma. Y mae gyda ni geffylau, ni a yrwn ac a oddiweddwn ein gwahanol gwmnïoedd etto, cyn y byddant 500 o filltiroedd yn mlaen. Fe groesa y rhai olaf o'r Saint am y tymmor hwn y fory; y mae yr Apostolion O. Hyde, J. Taylor, E. T. Benson, E. Snow, a F. D, Richards, oddeutu yr afon yn

bresennol. Y mae pawb yn iach a chysurus, ac ni a fyddwn yn cychwyn cyn diwedd yr wythnos hon. Y mae deg mil o Saint yn myned tua'r Llyn Halen eleni, gan gymmeryd gyda hwy un filiwn o ychain a gwartheg, mil a hanner o wageni, deg mil o ddefaid, mil o geffylau a mulod; y mae miloedd o'r rhai a gychwynodd tua Chalifornia a Oregon, yn bwriadu myned i fyw i blith y Saint. Y mae pob peth yn myned yn mlaen yn rhagorol dda yn y wlad hon mewn perthynas â'r Saint, *noble* yw hi: gogoniant i Dduw. Y mae pob peth yn myned yn mlaen yn neillduol o dda yn y Llyn Halen, &c.

Y mae yn hawddach o lawer i ddweyd yn Nghymru, "Paham na ysgrifenant yn ol o'r America," nag yw i ysgrifenu i'r hen wlad ar ol dod yma, o eisieu amser, oblegid fod dyn mor brysur wrth y naill beth neu'r llall o hyd braidd ar ei daith. Mi a ddanfonaf atoch chwi, fechgyn Gogledd Cymru, o'r Llyn Halen; byddwch amyneddgar, *all is well.* Gweithiwch yr efengyl yn ei blaen â'ch holl egni. Yr wyf fi yn iach ac wrth fodd fy nghalon, diolch i Dduw. Fy nghofion atoch oll, ac at y chwiorydd yr un modd. Nid oes genyf ddim o bwys i'ch hysbysu yn mhellach; y mae y Saint mewn undeb da iawn yma, a chofied y Saint i fod mewn undeb â'r Offeiriadaeth yn Nghymru, a Duw a'ch llwydda yn mhob peth da.

Fy nghofion goreu atoch chwi, anwyl Frawd, ac at eich Cynghorwyr, a'ch teuluoedd, a'r holl Saint. O brysied, brysied pawb i ddod i Seion ar frys wrth gynghor.

Ydwyf ar frys mawr,

ELIEZER EDWARDS.

---

## PENNILLION.

O HYD 'rwy'n rhoddi diolch
O galon i fy Nhad,
Am im' erioed gael clywed
Efengyl Iesu mâd;
Trwy i mi fod yn ufydd
I'r alwedigaeth hon,
Mi gefais, yn lle gobaith,
Wir sicrwydd dan fy mron.

Mae hyn yn beth dyeithr
I'r gau grefyddwyr trist,

Sef gwybod am y sicrwydd
Sy'n Eglwys Iesu Grist;
O, credwch 'nawr ei weision,
Chwi ddoethion o bob rhyw,
'Rwy'n sicr cewch fendithion
Yn union gan ein Duw.

A dyma fy nymuniad,
Gwel'd pawb o ddynol-ryw
Yn ufyddhau o galon
I holl orch'mynion Duw;
Os felly gwnant weithredu,
A brysio i ddod yn mlaen,
Cant dderbyn gan yr Iesu,
Wir ddoniau'r Ysbryd Glân.

*Llansawel.* JOSEPH DAVIES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

NID oes neb dynion mor fynych ar y bai, â'r rhai sydd yn cymmeryd arnynt eu bod bob amser ar yr iawn.

NID oes ond ychydig yn cenfigenu wrth deilyngdod ereill, os bydd rhyw deilyngdod ynddynt eu hunain.

YR wyf yn ofni nwydau aflywodraethus yn fwy nâ saethau y gelyn; a chael fy nghaethiwo ganddynt hwy, yn fwy nâ hualau y gorchfygwr.

YR hwn sydd yn llywodraethu ei hun, sydd yn llywodraethu y byd hefyd; a pha fwyaf o awdurdod a fydd genych ar ereill, mwyaf i gyd o lywodraeth fydd genych arnoch eich hunain.

LLAWER o'r gofidiau mewn teuluoedd a gyfodant oddiwrth y modd diles ag y mae gwragedd yn treulio eu hamser; nid ydynt ond ymdrechu boddhau eu llygaid a'u clustiau, yn lle diwyllio eu rheswm a'u dealltwriaeth.

---

TALIADAU O AWST 19 HYD MEDI 1.—Sir Frycheiniog, £4; Dyffryn Conway, £1; Sir Ddinbych, £2; Pontytypridd, 15s; Aberdâr, 15s; Hirwaen, 3s 3c; Georgetown, 18s 11c; Merthyr, £1 4s 6c, Pendaren, 8s; Cefn, £1 1s 4c; Ffynnon-Tydfil, 3s 2c; Troedyrhiw, 5s 6c.—Cyfanswm, £12 14s 8c.

☞ Gall y Saint sydd â pherthynasau ganddynt yn St. Louis, gyfeirio llythyron atynt i ofal "William Gibson, Box 333, Post Office, St. Louis, Missouri."

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, GEORGETOWN, MERTHYR.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 19.] MEDI 18, 1852. [CYF. IV.

## CYHOEDDIAD!

### AT BOBL CYFFINIAU AC YNYSOEDD Y MOR TAWEL, O BOB CENEDL, LLWYTH, AC IAITH.

GAN PARLEY P. PRATT,
*Apostol Iesu Grist.*

*(O'r Argraffiad Awstraliaidd, gan yr Hen. C. W. Wandell.)*

### GORUCHWYLIAETH NEWYDD.

*Apostol Iesu Grist, at y bobl sydd ar gyffiniau ac ynysoedd y Môr Tawel, o bob cenedl, llwyth, ac iaith,—yn anfon anerch:—*

RHYNGODD bodd i'r Arglwydd Iesu Grist, y Messiah, yr hwn a fu farw ar groes Rufeinig, yn Jerusalem, yn agos i ddeunaw cant a hanner o flynyddoedd yn ol, a'r hwn a adgyfododd oddiwrth y meirw y trydydd dydd; ac ar ol rhoddi gorchymynion i'w Apostolion, a esgynodd i'r nefoedd, o hyny allan i derynasu hyd oni osodo ei holl elynion yn droedfainc i'w draed,—i anfon allan ei angylion yn yr oes bresennol hon o'r byd, i ddadguddio *Goruchwyliaeth Newydd*; gan adferu felly i'r ddaear gyflawnder a phurdeb yr Efengyl, yr Apostoliaeth, ac Eglwys y Saint, gyda'i holl fendithion a'i rhoddion gwyrthiol; yr hon Efengyl, wedi ei hadferyd felly, ynghyd â'i Hapostoliaeth a'i galluoedd, sydd raid ei phregethu i bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl, o dan yr holl nefoedd, gyda'r arwyddion sydd i ganlyn y rhai a gredant;

ac yna yr Arglwydd Iesu Grist, y Messiah, a'r Brenin mawr, a ddisgyn o'r nefoedd yn ei gorff gogoneddus, ac anfarwol, ac a deyrnasa gyda'i Saint, a thros holl deyrnasoedd y ddaear dros fil o flynyddoedd.

Wedi cael rhan o'r weinidogaeth hon, a'n neillduo a'n gosod gan ein Brodyr yn yr Apostoliaeth, i gymmeryd y Llywyddiaeth a gofal neillduol y genadwri i'r gwledydd a grybwyllwyd yma—pa rai a gynnwysant yn agos i hanner y bellen ddaearol hon,—yr ydym ni mewn canlyniad i'r cyfrifoldeb hwn, wedi dechreu ein cenadwri trwy ddanfon allan y Cyhoeddiad hwn; yn gyntaf, yn Saesneg; ac i'w gyfieithu a'i gyhoeddi gan genadon neillduol, mewn amser prydlawn, yn mhob iaith, a thafodiaith, a gynnwysir o fewn cyffiniau y genadiaeth hon.

Yn gyntaf o'r cwbl, wedi dangos ein gwrthddrych, ein hamcan, a'n bwriad, a'n hawdurdod, yr ydym yn gwahodd, ac yn y modd mwyaf difrifol yn cymhell pob dyn i edifarhau, a throi oddiwrth eu pechodau, a chredu yn yr Arglwydd Iesu Grist, a dyfod â chalonau drylliog, ac ysbryd cystuddiedig, a chymmeryd eu bedyddio (claddu mewn dwfr) yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau; a hwy a dderbyniant ddawn yr Ysbryd Glân trwy osodiad dwylaw, yn enw Iesu Grist, gan yr Apostolion a'r Henuriaid, pa rai a ddanfonir gan Eglwys y Saint. A'r Ysbryd Santaidd a ddwg dystiolaeth o wirionedd y genadwri, ac o faddeuant pechodau i bob un a ufyddhao i'r unrhyw o lwyrfryd calon; ac a leinw eu meddyliau o lawenydd a gorfoledd, a goleuni a gwybodaeth, ac hefyd a agora i'w dealltwriaeth lawer o bethau sydd i ddyfod. Tra fyddo rhai yn cael eu bendithio â gweledigaethau, a gweinidogaeth angylion, ac ysbryd prophwydoliaeth, a dadguddiad; ac ereill, â dawn i iachâu, neu gael eu hiachâu trwy eneinnio ag olew yn enw yr Arglwydd, ynghyd â gweddi, neu osodiad dwylaw yn enw yr Iesu. Y mud a lefara, a'r byddar a glyw, a'r cloff a rodia, a llygaid y deillion a gânt weled, yn gymmaint â'u bod yn meddu ffydd ddigonol i dderbyn y cyfryw. Ac ni fydd llawer o flynyddau etto, yn ol fel y byddo ffydd, gwybodaeth, undeb, a gallu yn cynnyddu, cyn y caiff y meirw gyfodi mewn rhai amgylchiadau; angherdd tân a ddiffoddir; carcharau a agorir, os bydd anghenrheidrwydd; a'r gwir elfenau a lywodraethir gan weision Duw, yn enw yr Iesu.

Yr holl ddoniau hyn a gynnwysir yn yr Oruchwyliaeth New-

ydd, ac y maent i'w cyfranu i ddyn mewn amser priodol, yn ol fel y byddo ffydd yn cynnyddu.

Mae yr Eglwys etto yn ei babandod; nid yw ei haelodau etto wedi cyrhaedd yr holl roddion hyn, ond y maent yn cynnyddu gyda chyflymdra rhyfeddol, ac y maent mewn amryw enghreifftiau yn mwynhau y doniau hyn mewn amryw wledydd.

Ni a wyddom fod yr hysbysiad rhyfeddol a gynnwysir yn y Cyhoeddiad hwn, o anghenrheidrwydd yn dyfod mewn gwrthdarawiad i draddodiadau yr oes hon a'r oesoedd cyntefig; ac hefyd ag amrywiol offeiriadaethau, trefniadau, ac ordinhadau y byd, a elwir yn Gristionogol, yn gystal ag ar amrywiol grefyddau o eiddo y Paganiaid, a'r Mahometaniaid, a'r Iuddewon; ond gyda phob teimlad o dynerwch a pharch dros ein cyd-ddyn, nis gallwn ochelyd y gwrthdarawiad hwn. Nyni ydym gyfaill dyn, a chyfaill y gwirionedd. Yr ydym ni, gan hyny yn teimlo ein hunain yn rhwym o ddwyn tystiolaeth o'r gwirionedd fel y bu, y mae, ac y bydd.

Y gweinidog Cristionogol a ofyna, "Pa anghen sydd am Oruchwyliaeth Newydd, pan y mae yr hen wedi parhau trwy olyniad apostolaidd?"

I hyn yr ydym yn ateb, "Nas gwyddom ni am un olyniad o'r fath; nid ydym yn cydnabod yr un; ond er boddlonrwydd i ereill, ni a osodwn allan y ffordd i ddyfod i benderfyniad yn nacäol neu yn gadarnhaol, am y cwestiwn tra phwysig hwn."

Chwiliwch ysgrifeniadau santaidd yr hen Apostolion cyntefig, am ryw drefn arall o Apostolion, gweinidogion, ordinhadau, rhoddion neu alluoedd, yn cyfansoddi y wir Eglwys, neu yn gyssylltiedig â hi, yn wahanol i'r drefn a osodwyd allan yn y tudalenau blaenorol, a chwi a chwiliwch yn ofer. Cyfundraeth y Testament Newydd oedd gyfundraeth ysbrydoledig, galluoedd Apostolaidd, gwyrthiau, iachâd, dadguddiadau, prophwydoliaeth, gweledigaethau, angylion, a'r holl roddion a goffêir yn y llyfr hwnw. Yr oedd yn gyfundraeth o ordinhadau—megys bedydd er maddeuant pechodau, trwy gladdu mewn dwfr, yn enw Iesu Grist; a gosodiad dwylaw er derbyn dawn yr Ysbryd Glân; a gosodiad dwylaw er iachâu cleifion; hefyd eneinnio ag olew i'r un dybenion; hefyd gweinyddiad y bara a'r gwin er coffadwriaeth o farwolaeth Iesu Grist, a gwaed y cymmod.

Y cyfryw yw cyfundraeth y Testament Newydd. Nid oedd

awdurdod gan Pedr ei hun i'w chyfnewid, na Phaul chwaith : trwy wneuthur felly, hwy a fuasent yn colli eu galluoedd apostolaidd, a'u sefyllfa Gristionogol, ac a gawsent eu melldithio, fel ag yr ysgrifenwyd gan Paul, "Os pregetha neb o honom ni, neu angel o'r nef, Efengyl arall amgen nâ'r hon a bregethasom ni, bydded anathema."

Mae hyn yn ffaith anwadadwy, yr hyn nas gall un dyn yn llwyddiannus ei gwadu, neu ei hammau; y cwestiwn o olyniad apostolaidd neu eglwysig sydd fel hyn yn egluro ei hun :—

A ydyw y drefn flaenorol o bethau, wedi ei throsglwyddo i lawr yn ei phurdeb a'i gallu hyd y dydd hwn? ei hapostoliaeth, ei galluoedd gweledigaethol, dadguddiadau, prophwydoliaethau, gwyrthiau, doniau, ordinhadau, a galluoedd digyfnewid, anadfeiliedig, a diwyrni?

Os felly, y mae genym Apostolion, Eglwys, &c., *yn awr*, heb Oruchwyliaeth Newydd, neu gommisiwn newydd.

Os nid felly, yna nid oes Apostoliaeth, nac Eglwys, na gweinidogaeth, na rhoddion Cristionogol ar y ddaear, oddieithr eu hawdurdodi trwy Oruchwyliaeth Newydd.

Yn yr achos olaf, ni a ymofynwn, trwy ba faniar y ca y mil blynyddoedd, yr oes heddychol, a gwirionedd cyffredinol, a gwybodaeth, eu harwain i mewn?

Trwy ba faniar y llenwir y ddaear o wybodaeth yr Arglwydd, megys y llanwa y dyfroedd y moroedd?

Trwy ba faniar y bydd un Arglwydd a'i enw yn un, ac y bydd yn Frenin yr holl ddaear, megys y llefarodd y Prophwydi?

I ba faniar y caiff yr Iuddewon a llwythau ereill o Israel eu hadferyd, pan ddelo cyflawnder yr amseroedd i mewn? pan gyflawner eu hamseroedd; pan ddelo cyflawnder yr amseroedd i adferyd y pethau y llefarwyd am danynt gan yr holl Brophwydi santaidd er dechreuad y byd?

Yn mha un o'r holl gangenau o'r Eglwys gristionogol, fel ei gelwir, yr amlygir gallu a gwyrthiau Duw, pan ddynoetha efe ei fraich yn ngolwg yr holl genedloedd, yn adferiad holl lwythau Israel a Judah?

A gaiff ei allu a'i ddoethineb Ef eu hamlygu er adferiad y cyfryw i gyfammod toredig? i athrawiaethau llygredig? i ordinhadau gwyrdroedig? i Eglwys wedi ymranu, ac yn amddifad o'r roddion a'r gallu gwyrthiol? yn fyr, i Gristionogaeth, yr hon a

reolodd yr holl genedloedd â gwialen haiarn, ac a wnaeth y cenedloedd a'u Llywodraethwyr yn feddw â gwin eu ffieidd-dra?

Na, atebwn yn hyf, *na wna*!

Pa beth, ynte! a gaiff geiriau y Prophwydi syrthio i'r ddaear heb eu cyflawni?

Na chant byth!

Oddiwrth hyn y gwelir yr anghenrheidrwydd anhebgorol o Oruchwyliaeth Newydd, ac awdurdod apostolaidd newydd.

Mae y cyfryw awdurdod yn awr wedi ei hadferyd; a'r cyfryw oruchwyliaeth wedi ei chyflwyno, ac yn meddiant Apostolion ac Henuriaid Eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf.

Yn y cyfryw achos â hyn y collodd merthyron eu gwaed, ac y difreiniwyd pobl gyfan, ac yr anrheithiwyd, yspeiliwyd, gwasgarwyd, ac yr enllibwyd hwynt yn mhob rhyw fodd, ac y gyrwyd hwynt i'r mynyddoedd oddi fewn i ddiffeithwch yr America.

Gristionogion onest, a duwiol, ac o feddyliau da! (oblegid y mae'r cyfryw yn mhob sect o dan y nefoedd), yr ydym ni yma yn ddifrifol yn eich rhybyddio, ac yn eich gwahodd, yn enw yr Arglwydd, i ddyfod allan o bob sect, ac o'r holl "Babilonau" Cristionogol, ïe, "deuwch allan o honi fy mhobl i, fel ag y dywedodd yr hen Apostol," "oblegid ei phechodau a gyrhaeddasant hyd y nefoedd, a Duw a gofiodd ei hanwireddau."

Am hyny, deuwch allan, ac unwch ag Eglwys y Saint, ac o hyny allan cyssegrwch eich ffydd, eich gweddiau, eich nerth, a'ch meddiannau at waith Duw.

Amcanir yr un gwahoddiad i'r holl offeiriaid difrifol ac o feddyliau daionus, pa un bynag ai Rhufeinig neu Brotestanaidd, yn gystal ag aelodau ereill, a'r cenadon selog a difrifol; a'u cynnorthwywyr, y rhai sydd yn dwyn y Beibl i diroedd estronol, ac yn llafurio yn nghanol maesydd o ia, neu dywod llosgedig, yn nghanol anialwch, a mynyddoedd, neu mewn diffeithwch unigol, neu yn yr ynysoedd pell ac unig, wedi eu hamgylchynu ag eangder diderfyn o foroedd ac awyr, o herwydd eu cariad at Iesu a'u cyd-ddyn.

I chwi yr ydym yn dwyn newyddion o lawenydd mawr!

Y mae gogoniant y dyddiau diweddaf wedi gwawrio ar y byd!

Y mae gweddiau y rhai ffyddlawn yn mhob oes wedi eu gwrando!

Y mae y nefoedd wedi ei hagoryd drachefn!

Y mae angylion wedi disgyn, a dwyn Goruchwyliaeth i ddyn!

Y mae yr Ysbryd Glan wedi ei dywallt drachefn!

Y mae cyflawnder yr Efengyl wedi ei ddadguddio!

Y mae y claf yn cael ei iachâu!

Cythreuliaid yn cael eu bwrw allan!

Y mae Teyrnas Dduw wedi dyfod!

Y mae lluman rhyddid a gwirionedd wedi ei gyfodi!

Ac y mae goleuni wedi llewyrchu i'r rhai sydd mewn tywyllwch!

Ac heb fod yn hir tywyllwch, ac anwybodaeth, a thrais, a ddarfyddant oddi ar y ddaear!

Agorwch eich calonau, gan hyny, a derbyniwch dysgwch ffordd Duw yn fwy perffaith; dychwelwch yn gyflawn at gyfundraeth y Beibl hwnw a gyhoeddwch, ac at y Duw hwnw yr hwn a wasanaethwch.

Ac wrth y rhai hyny nad ydynt Gristionogion ond trwy genedliad, a thrwy enedigaeth, neu trwy broffes, ac nid mewn ymarweddiad, yr ydym yn llefaru trwy orchymyn yr Arglwydd, ac hefyd mewn ffordd o wahoddiad,—Trowch oddi wrth eich holl anwireddau a'ch ffieidd-dra, eich celwyddau, eich twyll, eich puteindra, eich cableddau, eich meddwdod, eich campiau, eich segurdod, eich afradlonrwydd, eich balchder, a'ch ffolineb; ac hefyd oddi wrth eich llofruddiaethau, eich lledrad, a'ch anrhaith, ac oddi wrth bob pechod.

Peidiwch a chymmeryd enw Duw, Tad ein Harglwydd Iesu Grist, yn ofer. Ymrwymwch mewn cyfammod ac mewn bwriad sefydlog i wasanaethu yr Arglwydd, a deuwch a bedyddier chwi yn ei enw Ef, a chwi a dderbyniwch faddeuant pechodau, a dawn yr Ysbryd Glân.

Ac yna, os parhewch hyd y diwedd, gan gadw gorchymynion Iesu Grist, chwi a gedwir yn nheyrnas nefol Duw. Hefyd, chwi a gewch ran yn yr adgyfodiad cyntaf, yr hwn a ddaw mewn ychydig flynyddoedd, ac a deyrnaswch yn y cnawd, ar y ddaear, gyda'r Brenin, y Messiah mawr, fil o flynyddoedd.

### ANERCHIAD I'R PAGANIAID.

I'r rhai hyny nad ydynt Gristionogion, ond a addolant amrywiol dduwiau yr India, China, Japan, neu ynysoedd y Mor Tawel

neu Indiaidd, yr ydym yn dywedyd—Trowch oddi wrthynt, nid ydynt dduwiau, nid oes ganddynt allu.

Agorwch eich clustiau a'ch calonau, a gwrandewch ar Apostolion ac Henuriaid Eglwys y Saint, dysgwch am y gwir Dduw, ac am ei Fab Iesu Grist, yr hwn a fu farw ac sydd fyw, ac a fydd byw yn dragywydd; a'r hwn yw eich Brenin, ac yn fuan a ddaw i lawr o'r blaned fwy ogoneddus lle y mae yn preswylio, ac a deyrnasa fel Brenin yr holl genedloedd; a'ch llygaid a'i gwelant, eich bloeddiadau a'i groesawa, pan y coronir ef yn Arglwydd pawb oll.

Agorwch eich tai a'ch calonau, a derbyniwch a phorthwch yr Henuriaid y rhai a ddeuant i'ch plith; rhoddwch fodd iddynt, a chynnorthwywch hwynt yn eu teithiau; ac yn wir eich cleifion a iachêir, a'r ysprydion drwg a'ch blinant a fwrir allan, a chwi a gewch freuddwydion a gweledigaethau daionus gan yr Arglwydd, ac angylion a weinyddant i rai o honoch, a'ch calonau a ymlanwant o gariad a gorfoledd, a chwi a deimlwch i ymwrthod â'ch pechodau, a chwi a fedyddir gan yr Henuriaid; a thrwy wneuthur felly, hwy a osodant eu dwylaw arnoch, a'r Ysbryd santaidd a ddwg i chwi dystiolaeth o'r gwirionedd yn eich calonau, ac a oleua eich meddyliau yn yr unrhyw.

### ANERCHIAD I'R IUDDEWON.

Ni a ddywedwn wrth yr Iuddewon—Trowch oddiwrth eich pechodau, a cheisiwch Dduw eich tadau. Chwiliwch y Prophwydi; canys wele, eich Messiah a ddaw ar frys, a'i holl saint gydag ef.Ië, efe a ddisgyn ar fynydd yr Olewydd, yn agos i'ch hen ddinas, ac a wasgara eich gelynion, ac a amddiffyn Jerusalem, ac a sefydla ei deyrnas dros eich cenedl a'ch dinas, a thros yr holl ddaear.

Ond pa faint fydd eich syndod, pan y syllwch arno, ac y syrthiwch wrth ei draed Ef fel eich Gwaredwr mawr, ac y canfyddwch y gweliau sydd yn ei draed, yn ei ddwylaw, ac yn ei ystlys, ac y gofynwch, " Pa beth yw y gweliau hyn sydd yn dy ddwylaw ac yn dy draed?"

Yna efe a etyb, " Y rhai hyn yw y gweliau â pha rai y'm clwyfwyd yn nhŷ fy nghAredigion. Myfi yw Iesu o Nazareth, yr hwn a groeshoeliodd eich t dau. Myfi yw Mab Duw, eich Gwaredwr a'ch Brenin tragywyddol."

Pwy a ddichon ddesgrifio y teimladau cymmysglyd o lawenydd, a gorfoledd, a diolchgarwch, a chywilydd, a chnofeydd, ac edifeirwch, a syndod, a rhyfeddod, y rhai pryd hyny a lanwant eich mynwesau! O fel yr edifarhewch, ac yr ymgasglwch i'r dwfr, ac y bedyddir chwi yn ei enw Ef er maddeuant o'ch pechodau. Ac â pha nerth y tywelltir yr Ysbryd Glân arnoch chwi, pan osoda yr Apostolion eu dwylaw ar eich penau, yn enw yr Iesu hwnw, a saif ger eich bron. Y dagrau mawrion o lawenydd a orlifant allan yn ffrydiau ar y ddaear, pan fyddo llawer o honoch yn syrthio ar ei wddf, neu yn cusanu ei draed, ac yn eu gwlychu â'ch dagrau.

Bendigedig yw yr hwn a'i gwelodd ac a gredodd; ond mwy bendigedig yw y rhai a gredasant ac nis gwelsant ef.

Os gall rhyw rai o honoch orchfygu eich rhagfarn a'ch traddodiadau, cyn belled ag i ganiatâu y tebygolrwydd, neu hyd y nod y posiblrwydd, mai yr Iesu o Nazareth yw y Messiah, a phan ddel eich Messiah chwi i gyflawni eich prynedigaeth fel cenedl, ac i sefydlu ei deyrnas dros yr holl ddaear, mai nid dyna y tro cyntaf ag yr ymddangosodd yn mhlith dynion, neu hyd y nod idd eich cenedl eich hun—yna, gan hyny, chwiliwch yn ddyfal ar y pwnc, a gweddiwch yn ddyfal ar y Jehofah, fel y byddo i chwi gael deall gwirionedd pwnc ag sydd o gymmaint pwysigrwydd.

Ar ol i chwi adchwilio yn ofalus eich Prophwydi eich hunain, chwiliwch y Testament Newydd gyda'r un gofal ac ystyriaeth ddeisyfiadol, ac yna mynwch gopi o Lyfr Mormon, a chwiliwch hwnw gyda'r un gradd o degwch a difrifoldeb; ac yr wyf fi yn tybied y gwna eich meddyliau ymeangu, ac y cewch eich cymhell i ddweyd, mai Iesu o Nazareth yw y Crist.

Os felly, yna deuwch at faniar yr Oruchwyliaeth Newydd—at Apostolion ac Henuriaid Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf; oblegid chwi a welwch yn rhwydd nad oes un gyfundraeth arall yn bodoli, ag sydd yn tebygoli neu a ellir ei chyffelybu i'r gyfundraeth a sefydlwyd ganddo Ef, a'i Apostolion cyntefig. Ië, deuwch atynt hwy, gan edifarhau a throi oddiwrth eich pechodau, ac ewch i lawr i ddyfroedd bedydd, yn enw Iesu Grist, y Messiah. Derbyniwch osodiad dwylaw er cael dawn yr Ysbryd Glân. Yna y byddwch yn gwybod y gwirionedd, ac yn ymbarotoi i lai o syndod, a mwy o fuddugoliaeth ogoneddus ar Fynydd yr Olewydd, yn nydd dychweliad eich Brenin.

Yn awr yr ydym wedi dangos i chwi y drws y derbynir i mewn trwyddo i deyrnas Dduw, trwy yr hwn y gwnewch yn dda ddyfod i mewn; ac ar ol dyfod i mewn, fe ofynir genych i gadw gorchymynion Iesu Grist, ac i edrych yn ddyfal ac yn feunyddiol am gyflawniad o'r Prophwydi, y rhai a lefarasant am adferiad Israel a Judah, a syrthiad llywodraeth y cenedloedd, a goruchafiaeth y deyrnas hono yr hon a fydd yn gyffredinol, ac ni bydd arni ddiwedd.

Hefyd chwi a wnelech yn dda yn y cyfamser, i gyfranu yn helaeth o'ch meddiannau i Henuriaid a Chenadon yr Eglwys, canys eich brodyr ydynt; maent yn credu y Prophwydi, ac yn edrych, a gweddio, ac yn llafurio yn ddyfal er eu cyflawniad.

(*I'w barhau.*)

*Cefn*. *Cyf*. MORGAN JENKINS.

---

## AT HOLL LYWYDDION CYNNADLEDDAU A CHANGENAU, &c.

ANWYL FRODYR,—Yn eich plith yma a thraw ar hyd y wlad yr wyf wedi cael llawenydd mawr; ac weithiau mae fy ysbryd wedi cael ei dristâu trwy glywed Hymnau yn cael eu canu, pa rai sydd heb fod yn ein llyfrau ni, nac ychwaith wedi eu cymmeradwyo genym.

Mae canu, trwy ei weinidogaeth, yn adeiladaeth fawr iawn i'r Eglwysi, os bydd pethau yn cael eu cario yn mlaen yn gyfraithlawn. Yr wyf wedi bod mewn cyfarfodydd pan byddai ysbryd Duw ynddynt yn bwerus, ac wedi clywed canu anghyfreithlawn, a thrwy hyny yr oedd ysbryd Duw yn ymadael, ac ysbryd y byd yn dyfod yn ei le; ac am hyny, frodyr, gwelwch fod y peth o bwys, ac am hyny dysgwch yr holl Eglwysi.

Hefyd, peth gweddaidd iawn i'w gweled yr holl Saint â Llyfrau Hymnau yn eu dwylaw, a'r oll yn ymdrechu canu mawl i Dduw. Dichon fod esgusodion gan lawer ag sydd yn methu darllen, ond nid oes dim esgusodion a all ryddhau neb oddiwrth gynghorion. Mae llawer wedi dyfod i allu darllen yn dda wrth ymarferyd â llyfrau hymnau, ac ufyddhau i gynghorion. Mae yma lawer o Lyfrau Hymnau yn aros ar law yn awr, a byddai yn llawer mwy gweddus eu bod yn meddiant y Saint, yn lle eu bod

yma yn dyrau ar eu gilydd. Byddant yn ogoniant Duw, ac yn lles i'r Eglwys. Yn awr, frodyr, meddiannwch ffydd, a danfonwch am danynt i'r Saint.

Un peth neillduol arall; yr ydym yn dymuno arnoch ddanfon gwybodaeth gywir pa faint o deuluoedd sydd dan eich Llywyddiaeth yn bwriadu ymfudo y Gwanwyn nesaf, ag sydd yn feddiannol ar £10 y pen; ac os bydd rhai yn feddiannol ar ragor nâ hyny, bydded i chwi ddweyd yn gywir pa faint, a danfon cofres o'u henwau yma erbyn y 20fed o'r mis Hydref nesaf. Gofalwch fod hyn yn cael ei wneyd yn llythyrenol.

Mae pob peth yn myned yn mlaen yn dda cyn belled ag yr ydym ni yn deall yma mewn perthynas i'r "Drysorfa Ymfudol." Mae yr holl Saint am debygoli i'w Meistr, sef gwneyd arosfa fyr yn Mabilon.

Cofiwch fod pen chwarter y Drysorfa ar y 24ain o'r mis hwn.

Mae cwestiynau yn cael eu gofyn yn aml yn y dyddiau hyn yn mhlith y Saint, mewn rhai manau, os oes niwed gwneuthur ymarferiad o fyned i dafarnau i yfed gwirodydd, &c.; ac y mae wedi dyfod i'm clustiau fod rhai yn dweyd nad oes dim niwed, ond ei wneyd yn ddystaw. Wel, gadewch i ni fyned at y gyfraith ac at y dystiolaeth :—

"Yn gymmaint â bod un dyn yn yfed gwin neu ddiod gadarn yn eich plith chwi, wele nid yw dda nac yn addas yn ngolwg eich Tad, ond yn unig mewn ymgynnull ynghyd i offrymu i fyny eich sacramentau ger ei fron ef. Ac wele hyn a ddylai fod yn win, ïe, gwin pur o rawn y winwydden, o'ch gwneuthuriad eich hunain. A thrachefn diodydd cryfion nid ydynt i'r bola, eithr at olchi eich cyrff,"—Ath. a Chyf., tud. 217.

A ganlyn sydd ddyfyniad o lythyr a dderbyniais oddiwrth y Brawd Eliezer Edwards, o Council Bluffs :—"Anerchodd y Brawd Taylor y dyrfa, gan adrodd ei helyntion yn Ewrop, ynghyd ag annog y Saint i fyned tuag Utah, ac i fod oll yn rhinweddol, yn gadael heibio yfed gwirodydd, a phob math o ymadrodd rhyfygus a llygredig. Cododd y Llywydd Hyde i fyny i gadarnhau yr angenrheidrwydd i bawb adael heibio yn hollol ymarferyd iaith reglyd, ac hefyd ddiod feddwol, &c."

Yr ydym wedi clywed amryw o'r Apostolion yn cynghori y Saint i adael yr ymarferiad uchod; ac yr ydwyf finnau hefyd wedi dysgu hyn amryw weithiau, ac y mae yr esiamplau yr wyf

wedi eu rhoddi ar y pen hwn, yn dysgu yn mhob man lle yr wyf fi wedi bod, ac nid oes un dyn na dynes a all ddweyd yn wahanol.

Yr wyf wedi teithio miloedd o filltiroedd yn ol ac yn mlaen trwy siroedd Cymry, ac ni fum erioed yn hoffi myned i dafarnau, ond pan y buasai gwir angben; ac yr wyf yn teimlo yn dra diolchgar i'm holl frodyr yn mhob man am eu caredigrwydd tuag ataf, ond dymunwn roddi un cynghor i chwi oll gyda eich gilydd yn awr, o herwydd eich bod yn lliosog; ac fe elai amser maith i mi ddweyd wrthych bob un yn bersonol. Gobeithio na theimla neb y cynghor yma yn angharedig, canys yr wyf fi yn gyfrifol am danoch chwi, a'm defaid i ydych yn bresennol. Wel, yn awr at y pwnc.

Na fydded i chwi o hyn allan gredu ei fod yn garedigrwydd i'r Brawd Phillips i fyned ag ef i Dafarnau i gysgu i blith y meddwon, &c.; canys nid ydyw ef un amser yn teimlo yn ddedwydd mewn fath le; a byddai yn well ganddo gael cysgu yn un o dri yn y lle gwaelaf yn mhlith y Saint, na myned i'r fath leoedd.

Mewn tai Saint buaswn yn cael y fraint o weddio Duw heb fod o dan ddylanwad meddwol, nac hen sawr drewllyd yn agos ataf; canys y mae ef yn tristâu yr Ysbryd Glân, medd yr Arglwydd. Frodyr, mae yn rhaid i chwi ddal yn well ar y pethau a ddarllenasoch, ac a allwch ddarllen etto, rhag i chwi un amser eu gadael hwy i golli. Mae genyf fi ysbryd tadol yn fy meddiant yr awr hon wrth ysgrifenu y cynghorion hyn, ac yr wyf yn gobeithio na chaf weled na chlywed am bethau o'r fath hyn etto, ac yr wyf yn gofyn i Dduw, y Tad Tragywyddol, eich bendithio chwi â'i Ysbryd Glân i gadw y cynghorion hyn, ac i'w cadw ar eich cof.

Ydwyf, eich brawd a'ch gwas yn yr efengyl,

W. S. Phillips.

14, Castle St, Merthyr-Tydfil, Medi 13, 1852.

---

[Mewn cyssylltiad â'r Hymnau ag ydynt wedi eu cyfansoddi gan y Saint, dymunwn y gwna pawb yn ddioed ddanfon cymmaint o Hymnau Newyddion ag sydd ganddynt, naill at y brawd Phillips, neu atom ni, fel y gallom daflu golwg drostynt, a'u cymmeradwyo; a gwahoddwn y prydyddion i gyfansoddi rhagor, a chaiff y rhai da ymddangos mewn print mewn rhyw ffordd neu gilydd.—Gol.]

## Y DUW BYW.

(O'r "Times and Seasons.")

Nid oes un pwnc yn mhlith dynion, a gymmer i fyny gymmaint o amser ac ystyriaeth, ac ar yr un pryd y mae mor lleied o ddeall am dano, ag sydd am fôd, gwybodaeth, sylwedd, priodoleddau, a thueddiadau y Duw Byw. Yn y lle cyntaf, Cristionogion, a chredinwyr Cristionogaeth, gydag ychydig eithriadau, a gredant mewn un Duw; neu feallai dylasem ddywedyd yn eu hiaith eu hunain, fod y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân, yn *un Duw.* Ond i fod yn ufydd i'r gwirionedd, ni wnawn felly droseddu yn erbyn rheswm, synwyr a dadguddiad.

Yna bydd yn anghenrheidiol i drin y pwnc o "Dduw Byw" mewn gwrthgyferbyniad i "*Dduw marw*," neu un sydd "heb gorff, rhanau, neu nwydau," ac feallai y byddai yn dda ddigon i ddweyd wrth ddechreu, fod "Mormoniaeth yn cofleidio lliosawgrwydd o Dduwiau, megys y dywedodd yr Apostol, fod "Duwiau lawer ac Arglwyddi lawer;" mewn gwneuthur felly, ni fyddwn yn gwadu yr Ysgrythyr a neillduwyd i'r byd hwn, ag sydd yn caniatâu un Duw; sef Iesu Grist, gwir Dad tragywyddol y ddaear hon; ac os gwir a ddywedodd Paul, "Trwyddo ef y gwnaethwyd y bydoedd."

Tebygol fod Moses yn cyfeirio at hyn pan oedd plant Israel yn gweithio allan eu hiachawdwriaeth trwy ofn a dychryn yn yr anialwch, ar yr amser y llefarodd efe y geiriau hyn: (Deut. v, 23—26,) "A darfu, wedi clywed o honoch y llais o ganol y tywyllwch (a'r mynydd yn llosgi gan dân), yno y nesasoch ataf, sef holl benaethiaid eich llwythau, a'ch henuriaid chwi. Ac a ddywedasoch, Wele, yr Arglwydd ein Duw a ddangosodd i ni ei ogoniant, a'i fawredd; a'i lais ef a glywsom ni o ganol y tân: heddyw y gwelsom lefaru o Dduw wrth ddyn, a byw o hono. Weithian gan hyny paham y byddwn feirw? Oblegid y tân mawr hwn a'n difa ni. Canys os nyni a ychwanegwn glywed llais yr Arglwydd ein Duw mwyach, marw a wnawn. Oblegid pa gnawd oll sydd, yr hwn a glybu lais y Duw byw yn llefaru o ganol y tân, fel nyni, ac a fu fyw?"

Y ffeithiau a gynnwysa yr adnodau blaenorol, a ddystrywiant grediniaeth yr holl fyd Cristionogol yn ddiwelliant. Y duwin-

yddion, neu gyda pharch, dywedwn yr "offeiriaid dysgedig" a gyhoeddant i'r holl bobloedd, "na welodd dyn Dduw un amser, na all dyn weled Duw a byw;" ac i Ioan yr Efengylwr ddywedyd,—(Ioan vi, 46), "Nid o herwydd gweled o neb y Tad, ond yr hwn sydd o Dduw, efe a welodd y Tad."

Hefyd, Moses yn y dyfyniad blaenorol a ddefnyddia ein testun, y "Duw Byw;" a phwy a gymmer arno i ddywedyd ei fod yn meddwl rhyw berson arall heblaw Iesu Grist, Sanct Israel? "Cyn bod Abraham, yr wyf fi." "O," meddai y byd dysgedig, "mae yr Ysgrythyr yn beth aneglur, a rhaid i ni aros i ryw esboniwr i dreiddio i'r dirgelwch." Yn ol pob tebygolrwydd, meddylia hyna Grist, canys nid oes ond un Duw.

Y mae wedi bod yn ddywediad na ddaw gofidiau byth wrthynt eu hunain, a dirgelion yn yr un modd, yn anaml a'n cyfarfyddant ni heb fwy nag un ar y tro. Ni a ddysgwn yn Mathew xvi, 13—16), "Wedi dyfod o'r Iesu i dueddau Cesarea Phillipi, efe a ofynodd i'w ddyscyblion, gan ddywedyd, Pwy y mae y dynion yn ddywedyd fy mod i, Mab y dyn? A hwy a ddywedasant, Rhai mai Ioan Fedyddiwr; rhai, mai Elias; ac ereill, mai Jeremias, neu un o'r prophwydi. Efe a ddywedodd wrthynt, Ond pwy meddwch chwi ydwyf fi? A Simon Pedr a atebodd ac a ddywedodd, Ti yw y Crist, Mab y Duw Byw."

Yn awr, *dwy ffaith*, yn cyfansoddi dau ddirgelwch daearol, a gyfarfyddant y meddwl yn yr ymadroddion blaenorol. Dywed yr Iesu mai *efe yw* "Mab *y Dyn*," a Phedr a ddywed, *mai efe yw* "*Mab y Duw Byw*." O, chwi fawrion a doethion, a chwi sydd yn gwisgo gwisgoedd offeiriadol; pa fodd y gallai fod gan yr Iesu ddau dad; neu pa fodd y gall yr Ysgrythyr fod yn wir heblaw fod ganddo ddau? Etto, pa fodd y gallai Moses arfer y term "Duw Byw," gan fod Sanct Israel, a Phedr, yn hysbysu mai Crist oedd *Mab* y "Duw Byw?" Gwna hyn ddau "Dduw Byw," oblegid ni ddywedodd yr Iachawdwr erioed iddo genedlu ei hun, neu iddo ddyfod i'r byd o hono ei hun, neu ar ei waith ei hun; ond, yn y gwrthwyneb, efe a ddaeth i wneuthur *ewyllys* ei Dad *yr hwn a'i danfonodd ef*.

Pa beth a ddywedwn, ynte, i wneyd geiriau Moses, yr Iesu, a Phedr yn wir? Ni a ddywedwn fod gan yr Iesu dad a mam i'w Ysbryd, a thad a mam i'w gnawd; ac felly y mae gan ei holl frodyr a'i chwiorydd: ac hyny sydd un achos iddo ddywed-

yd, "*Chwi ydych Dduwiau*;" neu i Esaiah brophwydo (Esa xli, 23), "Mynegwch y pethau a ddaw ar ol hyn, fel y gwypom mai Duwiau ydych chwi; gwnewch hefyd dda neu ddrwg, fel y syno arnom, ac y gwelom ynghyd." Mewn gwirionedd, yr oedd "y Duwiau," yn yr amseroedd gynt, yn ddealltwriaeth cyffredin. Satan, yn ei bregeth sectaraidd gyntaf wrth Adda ac Efa, a ddywedodd wrthynt, os gwnelent fwyta o'r ffrwyth gwaharddedig, y buasai iddynt ddyfod megys "y Duwiau," yn gwybod da a drwg.

Nid hyn yw y cyfan; y llinell gyntaf o Genesis, wedi ei chyfieithu yn bur o'r gwreiddiol, gan adael allan y *Baith* cyntaf (yr hwn a ychwanegwyd gan yr Iuddewon), a ddarllena:—*Rosheit* (y pen) *baurau* (a genedlodd) *Elohim* (y Duwiau) *ate* (gyda) *hah-shau mahyiem* (y nefoedd) *veh-ate* (a chyda) *hauaurates* (y ddaear). Mewn Cymraeg eglur:—Y Pen a genedlodd y Duwiau, ac a wnaeth y nefoedd a'r ddaear. Rhaid fod y "Pen," yn meddwl y "Duw Byw," neu'r Prif Dduw. Crist yw ein Pen ni. Y term "Elohim," y rhif liosog o Elohah, neu Ale, a arferir yn gyffelyb yn y bennod gyntaf o Genesis, am y cread, ac ymadroddion Satan. Yn yr ail bennod, a'r bedwaredd adnod, ni a gawn yr hanes hynod hwn:—"Dyma genedlaethau y nefoedd a'r ddaear pan grewyd hwynt, yn y dydd y gwnaeth Arglwydd y Duwiau ddaear a nefoedd." Yr Hebraeg a ddarllena felly.

Yn ddiau Iesu Grist a greodd y bydoedd, ac y mae yn Arglwydd yr Arglwyddi, ac fel y dywed y Salmydd, "yn barnu yn mhlith y Duwiau." Yna Moses a allasai ddywedyd gyda phriodoldeb, efe yw y "Duw Byw," a Christ gan lefaru am y cnawd, a allasai ddweyd,—Myfi yw Mab y dyn; a Phedr, wedi ei oleuo gan yr Ysbryd Glân,—Ti yw Mab y Duw Byw, gan feddwl ein Tad yn y nefoedd, yr hwn yw Tad yr holl ysbrydoedd; a'r hwn gyda Iesu Grist, ei gyntaf anedig Fab, a'r Ysbryd Glân, ydynt un mewn gallu, un mewn llywodraeth, ac un mewn gogoniant, yn cyfansoddi y Llywyddiaeth Flaenaf yn y gyfundraeth hon, ac yn y tragywyddoldeb hwn. Ond y maent yn dri pherson mor wahanol ag yw yr haul, y lleuad, a'r ddaear, yn dri o gyrff gwahanol.

Ac etto, y "Deuddeg teyrnas," pa rhai ydynt o dan Lywyddiaeth rag-grybwylledig y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân, a lywodraethir gan yr un rheolau, ac a arfaethir i'r un anrhydedd;

(Llyfr Ath. a Chyf. tud. 93, gwa. 13) Canys, "Wele, mi a gyffelybaf y teyrnasoedd hyn i ddyn a chanddo faes, ac efe a anfonodd ei weision i'r maes i gloddio yn y maes; ac efe a ddywedodd wrth y cyntaf, Dos di a gweithia yn y maes, ac yn yr awr gyntaf mi a ddeuaf ataf, a thi a gai weled llawenydd fy ngwynebpryd; ac efe a ddywedodd wrth yr ail, Dos dithau hefyd i'r maes, ac yn yr ail awr mi a ymwelaf â thi â llawenydd fy ngwynebpryd; ac hefyd wrth y trydydd, gan ddywedyd, Mi a ymwelaf â thi; ac wrth y pedwerydd, ac felly yn y blaen hyd y deuddegfed."

Heb wneyd olrheiniad cyflawn i hanes a rhagoroldeb Duw, Tad ein Harglwydd Iesu Grist, yn yr erthygl hwn, gadewch i ni ad fyfyrio y rhaid fod gan Iesu Grist, fel Arglwydd yr arglwyddi, a Brenin breninoedd, hiliogaeth ardderchog yn y nefoedd, neu ar y ddaear, onide ni allai fyth *fod* mor fawr mewn nerth, llywodraeth, gallu, ac awdurdod ag yr eglura yr ysgrythyrau ei fod. Ond gwrandewch; mae y dirgelwch yn cael ei ddeongli. Dywed Ioan (Dad. xiv, 1), "Ac mi a edrychais, ac wele, Oen yn sefyll ar Fynydd Seion, a chydag ef bedair mil a saith ugain mil, a chanddynt enw ei Dad ef yn eu talcenau."

"Enw eu Tad," bendigedig a fyddwyf! DUW yw hwnw! Rhagorol, "Formoniaeth;" *pedair mil a saith ugain mil o* DDUWIAU yn mhlith llwythau Israel, a dau Dduw Byw a'r Ysbryd Glân dros y byd yma! Mae gwybodaeth fel hon yn rhy ryfedd i ddynion, oddieithr iddynt feddu ysbryd y Duwiau. Y mae yn dadguddio y dirgelion bychain ag ydynt megys niwl yn gorchuddio awyrgylch ddigwmmwl y nefoedd, ac yn edrych o fyd i fyd, o gyfundraeth i gyfundraeth, o fydyssawd i fydyssawd, ac o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb, lle y mae yn mhob un, ac yn yr oll, Lywyddiaeth Duwiau, a Duwiau lawer, ac Arglwyddi lawer; ac o amser i amser, neu o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb, Iesu Grist a ddwg i mewn fyd arall wedi ei reoleiddio a'i achub, megys ag y bydd hwn pan ei rhodda ef i fyny i'r Tad; ac y daw Duw *oll yn oll*; "Ac" megys y dywedodd Ioan y Dadguddiwr (xxii, 3—4), "pob melldith ni bydd mwyach; ond gorseddfainc Duw a'r Oen a fydd ynddi hi; a'i weision ef a'i gwasanaethant ef. A hwy a gant weled ei wyneb ef; a'i enw ef fydd yn eu talcenau hwynt."

"Ei enw ef yn eu talcenau" yn ddiddadl a feddylia "*Duw*" ar wyneb y goron; canys, pan greuir pob peth o newydd, yn y

deyrnas nefol, gweision Duw—y dyrfa aneirif, a goronir, ac a fyddant yn wyr a gwragedd perffaith yn yr Arglwydd, yn un mewn gogoniant, yn un mewn gwybodaeth, ac yn un mewn delw; hwy a fyddant yn gyffelyb i Grist, ac yntau yn gyffelyb i Dduw: yna, O yna, hwy a fyddant oll yn "Dduwiau Byw," wedi myned o Farwolaeth i Fywyd, ac yn meddu y gallu o fywydau tragywyddol!

*Tre-Sior, Merthyr.* *Cyf.* THOMAS HARRIES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

YMFFROSTIAI un wrth Aristotle am fawredd ei wlad,—"O," ebe Aristotle, "nid yw hyny ddim; ond pa un a ydych chwi yn deilwng o'r wlad fawr hono yw y pwnc."

MEGYS y gellir gweled goleu-dydd trwy y tyllau lleiaf, felly hefyd y mae'r pethau mwyaf dibwys yn dangos cymmeriad dyn.

NID oes un dyn yn foddlon ar ei gyflwr ei hun, er y dichon hwnw fod y goreu; nac yn anfoddlon i'w synwyr, er y dichon hwnw fod y gwaelaf.

---

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir Cymmanfa Sir Frycheiniog, ar y 26ain o Fedi; Dwyreiniol Morganwg, yn Merthyr, ar y 3ydd o Hydref; Sir Fynwy, yn Tredegar, ar y 10fed; Gorllewin Morganwg, yn Abertawy, ar y 17eg; Llanelli, yn Llanelli, ar y 24ain; Caerfyrddin, yn Nghaerfyrddin, ar y 31ain; Sir Aberteifi, yn Aberystwyth, ar y 7fed o Dachwedd; Penfro Ogleddol, ar y 14eg; a Phenfro Ddeheuol, ar yr 21ain.

APWYNTIAD.—Penodir yr Henuriad Richard Roberts i fod yn llywydd ar Gynnadledd Dyffryn Conway, yn lle y brawd John H. Davies, yr hwn a ryddhawyd er ymbarotoi i ymfudo y tro nesaf.

☞ Dymuna y brawd John Evans, Llywydd Cynnadledd Sir Aberteifi, hysbysu fod William Evans, Pantyrescer, yr hwn a fu yn henuriad yn nghangen Cellan, wedi ei dori allan o'r Eglwys.

TALIADAU O FEDI 2 HYD MEDI 15.—Sir Fynwy, £2; Sir Aberteifi, £1; Gorllewin Morganwg, £4; Sir Feirionydd, £3 5s; Llanfabon, 7s 1c; Aberamman, £2; Hirwaen, 3s 3c; Georgetown, 7s 3½c; Ffynnon-Tydfil, 3s 2c; Troedyrhiw, 1s 4c. —Cyfanswm, £13 7s 1½c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 20.] HYDREF 2, 1852. [CYF. IV.

## CYHOEDDIAD!

### AT BOBL CYFFINIAU AC YNYSOEDD Y MOR TAWEL, O BOB CENEDL, LLWYTH, AC IAITH.

GAN PARLEY P. PRATT,

*Apostol Iesu Grist.*

*(O'r Argraffiad Awstraliaidd, gan yr Hen. C. W. Wandell.)*

[Parhad o dud. 301.]

### ANERCHIAD I'R DYN COCH.

YN nesaf nyni a anerchwn y dynion cochion o'r America ag ychydig o linellau. Chwychwi ydych gangen o Dŷ Israel. Chwi ydych ddisgynyddion o'r Iuddewon, neu yn hytrach, yn fwy cyffredinol o lwyth Joseph, yr hwn a fu yn Brophwyd mawr, ac yn lywodraethwr yn yr Aifft.

Eich tadau a adawsant Jerusalem yn nyddiau y Prophwyd Jeremiah—gan gael eu harwain gan Brophwyd o'r enw Lehi. Ar ol gadael Jerusalem, hwy a grwydrasant yn anialwch Arabia, ac ar hyd lanau y Môr Coch, dros wyth mlynedd, gan fyw ar ffrwythau, ac adar gwylltion. Ac wedi dyfod i làn y môr, hwy a adeiladasant long, a gosodasant ar ei bwrdd bob darpar-iaeth anghenrheidiol, a'r hadau a ddygasant gyda hwy o Jerusalem; ac wedi gosod hwyliau, hwy a groesasant y môr mawr, a thiriasant ar oror orllewinol yr America, o fewn cyffiniau y wlad a elwir yn awr "Chili." Ac ar ol yspaid o amser, hwy a boblogasant holl gyfandir gogledd a deheudir America.

Hwy a ddysgwyd gan Brophwydi o oes i oes. Hefyd hwy a anrhydeddwyd ag ymweliad personol oddiwrth y Messiah, yr Arglwydd Iesu Grist, wedi iddo adgyfodi oddiwrth y meirw. Dysgwyd iddynt yr Efengyl o'i enau ef ei hun, ac â'i ddwylaw ei hun yr ordeiniodd iddynt ddeuddeg o Apostolion o'u cenedl eu hun, a chynnysgaethodd hwynt â'r un galluoedd â'r deuddeg ereill ag oedd yn Jerusalem. Ei ddysgeidiaeth ei hun a agorodd iddynt y dygwyddiadau a fyddent mewn amser dyfodol, ac yn fwy neillduol y dygwyddiadau a gymmerent le mewn perthynas â chyfandir America. Ei Efengyl a'i addysgiadau prophwydoliaethol a ysgrifenwyd trwy ei orchymynion ef, a thrwy ysbrydoliaeth ei Ysbryd ef.

Ac yn yr oesoedd dilynol eich tadau a bechasant yn erbyn yr holl oleuni a gwybodaeth hyn, ac a gollasant freintiau yr Efengyl. Eu hapostolion a ddinystriwyd, neu a gymmerwyd ymaith ac a guddiwyd oddiwrth y byd. A gwneuthur gwyrthiau a ballodd o achos anwiredd. Llywodraeth wladol a dorwyd i fyny. Brwydrau echryslawn ac anrheithiedig a ganlynodd, y rhai mewn canlyniad a derfynasant mewn tywyllwch, anwybodaeth, ymraniadau, ac adraniadau, ac yn y fath sefyllfa y cafwyd chwi allan gan ddyn gwyn o Ewrop, er ys mwy nâ thri chant o flynyddoedd yn ol.

Mormon oedd un o'ch tadau. Efe a fywioliaethodd oddeutu mil a phedwar cant o flynyddoedd yn ol, yn ngogledd America. Efe a ysgrifenodd dalfyriad o'ch hanesyddiaeth, prophwydoliaethau, a'ch Efengyl, o gof-lyfrau eich Prophwydi, a'ch hapostolion henach; cerfiodd yr unrhyw ar lafnau o aur, a'r cyfryw gof-ysgrifau ar ei farwolaeth ef, a ddisgynodd i'w fab Moroni.

Y Moroni hwn, oedd yr olaf o hen Brophwydi yr America. Efe a gwblhaodd gof-ysgrifeniadau Mormon ar y llafnau, ac a'u rhoddodd yn gyssegredig i'w cadw mewn mynydd a elwir Cumorah, yr hwn a gynnwysir o fewn terfynau Caerefrog Newydd, yr Unol Daleithiau. A hyn a wnaed oddeutu y flwyddyn pedwar cant ac ugain o'r cyfrif Cristionogol.

Y llafnau, pa rai a osodwyd felly yn nghadw a gymmerwyd allan o'r lle y gosodwyd hwynt, yn y flwyddyn un fil wyth cant a saith ar hugain o'r un cyfrif, gan Joseph Smith, a chawsant eu cyfieithu a'u cyhoeddi i'r byd yn yr iaith Saesneg, yn y flwyddyn un fil wyth cant a deg ar hugain; a'r ysgrifeniadau a'u cynnwysiad a gawsant eu dadguddio iddo ef gan angel Duw.

A llawer ereill a welsant ac a deimlasant y llafnau, a'r cerfiadau oedd arnynt, ac a roisant eu henwau mewn modd arbenig yn dystiolaeth o'r unrhyw i'r byd, yr hon dystiolaeth a gyhoeddwyd yn gyflawn yn y llyfr rhag-grybwylledig. Y mae hefyd dri o ddynion ereill, pa rai ar ganol dydd a welsant y weledigaeth; gwelsant angel yr Arglwydd yn disgyn o'r nefoedd; clywsant ei lais yn dwyn tystiolaeth o'r llafnau, ac o gywirdeb y cyfieithad, ac efe a orchymynodd iddynt hwy i ddwyn tystiolaeth i'r byd. A'u tystiolaeth hwythau hefyd a gyhoeddwyd yn gyflawn yn y llyfr a rag-grybwyllwyd.

Ddynion cochion y goedwig—Perufiaid, Mexicaniaid, Guatemaliaid, disgynyddion o bob llwyth ac iaith o'r hiliogaeth ddirgelaidd hon; y mae eich hanesyddiaeth, a'ch Efengyl, a'ch tynghedfen, wedi eu dadguddio, ac yn fuan a wneir yn wybodus i chwi ac i'r holl genedloedd, ac i bob llwyth, iaith, a phobl. Y mae wedi dyfod allan fel Baniar—Arwydd amseroedd adferiad pob peth ag a lefarwyd am danynt gan yr holl Brophwydi santaidd er dechreuad y byd.

Trowch, gan hyny, oddiwrth eich meddwdod, eilun-addoliaeth, lladdiadau, rhyfeloedd, a thywallt gwaed,—ie, trowch oddiwrth ymostwng i ddelwau, gwaith dwylaw dynion, y rhai nad oes ganddynt allu i wneuthur da na drwg; trowch oddiwrth odineb, puteindra, brynti, a phob math o ffieidd-dra; a cheisiwch yr Arglwydd a'r Iachawdwr Iesu Grist, yr hwn unwaith a fu farw, ac sydd fyw, ac wele a fydd byw yn oes oesoedd. Byddwch heddychol â'ch gilydd, ac â phob dyn. A phan ddelo Henuriaid Eglwys y Saint i'ch plith chwi, derbyniwch hwynt, porthwch a lletywch hwynt, a chynnorthwywch hwynt; a gwrandewch ar eu llais hwynt, oblegid y maent yn dwyn i chwi newyddion da o lawenydd mawr. Rhoddwch heibio eich pechodau, a bedyddier chwi (eich claddu mewn dwfr) yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau, a derbyniwch osodiad dwylaw Henuriaid ac Apostolion yr Eglwys hon er derbyn dawn yr Ysbryd Glân.

A chwi a lenwir o lawenydd a gorfoledd, a goleuni a gwybodaeth. Chwi a gewch wybod a dwyn tystiolaeth o'r gwirionedd. A rhai o honoch a fyddwch yn alluog i lefaru trwy ddawn yr Ysbryd Glân, mewn nerth mawr. A thrwy arwyddion, a thrwy weledigaethau, a thrwy freuddwydion, a thrwy iachâu amryw glefydau, a gwyrthiau, y cadarnha Duw ei air yn eich plith;

canys wele, Efe a fwriada eich adferyd fel Cangen gyfiawn o Israel.

Llyfr Mormon—cof-ysgrifeniadau eich tadau, yn fuan a gyhoeddir yn eich plith yn Saesneg, ac yn yr Yspaenaeg, ac yn mhob iaith ysgrifenedig a arferir yn mhlith eich amrywiol lwythau a thafodieithoedd. Cenadau hefyd a ddanfonir i'ch plith i ddarllen, adrodd, a deongli cynnwysiad y llyfr rhag-grybwylledig, mor bell ag y byddo yn anghenrheidiol, i'r rhai hyny na allont ddarllen—fel y galloch, a dweyd yn fyr, gael Efengyl eich cyn-deidiau, a rhyw wybodaeth o'i hanesyddiaeth a'i phrophwydoliaethau.

### ANERCHIAD CYFFREDINOL ETTO.—HEN GOF-YSGRIFAU Y RHAN ORLLEWINOL O'R DDAEAR.

Wedi anerch ein hunain ar gylch i Gristionogion crefyddol, a phechaduriaid Cristionogol, Paganiaid, Iuddewon, a Dynion Cochion yr America, yn awr ni a ddychwelwn, ac a anerchwn drachefn yr holl bobl ag sydd o fewn cyffiniau ein cenadiaeth.

Mae Llyfr Mormon wedi cael ei arfaethu i'w gyhoeddi mor fuan ag y mae yn bosibl i bob cenedl, ac yn mhob iaith a thafodiaith.

Y mae ei gynnwysiad yn fwy o elw i'r byd, a phob bod deallgar a chyfrifol o'i fewn, nag y sydd yn un llyfr arall (oddi eithr yr ysgrythyrau Iuddewig) ag sydd yn awr yn bodoli ar y ddaear.

Y mae ei hanesyddiaeth yn treiddio i dywyllwch ac ebargofiad o'r hyn a aeth heibio (gyda golwg ar America) trwy henafiaeth yr oesoedd gynt; gan ddilyn i fyny ffrydlif cenedlaethau dyn, nes dyfod at ben y ffynnon fawr—dospartbydd cenedlaethau, llwythau, ac ieithoedd—TWR BABEL, lle y peidia neu y collir hi ynddo, ac yr hyfryd ymgymmysga yn yr afon fawr Addäaidd, yr hon sydd â'i ffynnonell yn Mharadwys, crûd dyn; yr hon sydd â'i tharddiad yn deilliaw oddi tan orsedd y ddinas Dragywyddol, a'r hon sydd a'i ffynnonellau dirgelaidd yn cynnwys yr eangder annherfynol, yr eigion diderfyn o ddealltwriaeth, ffaith, ac hanesyddiaeth gwirioneddol, fel ag y sydd yn ysgrifenedig yn nghofnodfeydd tragywyddoldeb.

Ei weledigaeth brophwydoliaethol, gan ymwahanu oddiwrth ei hanesyddiaeth ar yr amser nodedig hwnw, yr hwn gan ei awduron a ellid ei alw y presennol, a ddengys ddygwyddiadau yr amser a

ddaw, ac a rydd olwg ar bethau i ddyfod, gyda phob eglurder hanesyddol.

Deg Llwyth Israel, yr Iuddewon, cenedloedd gwynion Ewrop, a llwythau cochion yr America, ïe, hyd y nod Taleithiau beilchion yr Undeb Americanaidd, a allant bob un weled eu hunain a'u gweithredoedd yn yr yspienddrych prophwydoliaethol ag sydd yn y llyfr hwnw. Y mae eu tynghed wedi ei hysgrifeni ynddo; a llawer o honi o enau yr Hwn a lefarodd, a Jerusalem a foddwyd mewn gwaed,—a drowyd mewn fflamiau o anghyfannedd-dra a marwolaeth, ac a sathrwyd i lawr dros ddeunaw cant o flynyddoedd—yr hwn a brophwydodd, a'r adeilad santaidd hwnw, sef teml Dduw, balchder ac ymddiried cenedl, a daflwyd i lawr ac "ni adawyd careg ar gareg"—yr hwn a roddodd ei lais, a chenedl a giliasant o'i flaen, fel nad oeddent, a'u gweddillion a wnaethwyd yn grwydriaid yn mhlith y cenedloedd, hyd "oni chyflawner amser y cenedloedd."

Tynghed cenedloedd—adferiad Judah ac Israel—syrthiad eglwysi llygredig a sefydliadau crefyddol—diwedd ar afreolaeth ac ofergoelion y Cenedloedd—llwyddiant cyffredinol ar heddwch, a gwirionedd, a goleuni, a gwybodaeth—a rhyfeloedd arswydus a thrallodau, pa rai a ragflaenant y dyddiau dedwydd hyny—a dyfodiad gogoneddus Iesu Grist fel brenin dros yr holl ddaear—ac adgyfodiad y Saint i deyrnasu ar y ddaear—ydynt oll wedi eu rhagfynegi yn y llyfr hwnw; yr amser a'r achos o'u cyflawniad a osodir allan yn eglur, a dangosir fod yr oes bresennol yn fwy mewn ryfeddodau, nâ holl oesoedd hiliogaeth Adda, y rhai a aethant o'i blaen.

Ei athrawiaethau a eglurir mor oleu, a chyda'r fath symlrwydd, a chyda'r fath eglurder a chywiredd, fel nas gall un dyn eu camsynied. Y maent ynddo fel ag y dylifasant allan o enau y Gwaredwr adgyfodedig, yn yr hyawdledd hylifol o gariad, yn gymmysgedig â dagrau diddarfod o lawenydd a thosturi, ac fel yr ysgrifenwyd hwynt gan ddynion, pa rai â'u dagrau yn gorlifo o serchiadau a diolchgarwch, a olchasant ei draed anfarwol.

Holl ddynolryw a wahoddir ac a addysgir trwy ei athrawiaethau i droi oddiwrth eu pechodau a byw; i gredu yn ei enw Ef, a myned i lawr i ddyfroedd bedydd yn ei enw ef, ac adgyfodi mewn bywyd newydd, a derbyn dawn yr Ysbryd Glan, gan fwynhau doniau yr unrhyw, a chadw ei orchymynion ef hyd ddiwedd eu

hoes. Ar yr ammodau hyn, y mae addewid iddynt o fywyd tragywyddol a dyrchafiad yn ei bresennoldeb ef, lle y mae cyflawnder o lawenydd.

Y cyfryw yw LLYFR MORMON, Llyfr y llyfrau, a Baniar i'r cenedloedd, yr hwn mewn un flynedd ar hugain, trwy ymdrech y galluoedd Apostolaidd, a dawn yr Ysbryd Glân, a wasgarodd ei oleuni dros y bellen ddaearol hon.

Ni a wyddom am ragfarn "Cristionogion" tuag at y Beibl, ac yn erbyn pob llyfr arall a hono hawl i ddwyfol draddodiad; ond yr ydym ni yr un modd yn berffaith wybodol, ac yn dwyn tystiolaeth, fod eu rhagfarn hwy wedi ei sylfaeni ar anwybodaeth, ac nad oes ganddi un sail wirioneddol a rhesymol. Y fath draddodiadau, a'r fath ragfarnau a darddant allan o'r un golygiadau *cul*, pa rai, yn nyddiau Columbus, ni adawent i wybodaeth ddaearyddol dyn i ymeangu, neu ei uchelgais, neu ei feddylau i gyrhaedd uwchlaw terfynau yr hen fyd, rhag i'r cyfryw feddwl fod yn gabledd,—rhag i fyd gael ei ddadguddio lle na bu yr Apostolion Iuddewig, ac felly i osod eu hawdurdod hwy i bregethu yr Efengyl i bob creadur, yn beth anghysson.

Nyni a ofynwn i'r fath feddyliau cyfyng y gofyniadau canlynol:—

A oes mwy o wledydd nag un?

A oes mwy nag un genedl?

A ddarfu Tad Mawr pawb oll greu yr amrywiol wledydd hyn?

A ddarfu iddo eu poblogi â bodau deallgar, ymgeisyddion am anfarwoldeb a bywyd tragywyddol?

A ddarfu iddo garu y bodau hyn heb fod yn ddiystyr o wlad neu genedl?

A dywalltodd Iesu Grist, ei Fab ef, ei waed dros bawb?

A fu pawb yn gyfranog o farwolaeth, a galar, a thristwch?

A oedd pawb yn sefyll mewn angen o'r wybodaeth a'r cysur a ddaeth i oleuni trwy ei adgyfodiad ef, a'i fuddugoliaeth ar angau, uffern, a'r bedd?

A ydyw yn rhesymol, cyfiawn, a chysson, i'r holl genedloedd gael y newyddion da am ddygwyddiad mor ogoneddus, a chael eu cysuro a'u dysgu?

A oedd Iesu Grist, yn ei gorff adgyfodedig, yn alluog i neidio dros gyffiniau môr ac anialwch, a thalu ymweliad personol â'r hanner arall o'r blaned ddaearol hon?

A oedd ei angylion yn alluog i ddarostwng y gwynt a'r tonau, a dwyn y newyddion da i eithafoedd y ddaear?

A oeddynt hwy yn meddwl hyny pan ddywedasant wrth y bugeiliaid yn Judea, "Yr ydym ni yn mynegi i chwi newyddion da o lawenydd mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl?"

Yr ydym yn meddwl y gwna dyn teg ateb yr holl gwestiynau hyn yn gadarnhaol.

Os felly, ni a barhawn i ofyn a oedd gan Geidwad adgyfodedig a'i angylion, yn eu hymweliad â'r rhan orllewinol o'r ddaear, hawl i orchymyn i'r bobl yno i ysgrifenu y ffeithiau o'u gweinidogaeth, a gwneuthur cof-ysgrifau o'u hathrawiaethau? Pa un a oedd hawl gan ei Ysbryd Ef i ysbrydoli a thraethu yr ysgrifeniadau hyny? Ac ar ol eu hysgrifenu felly, a wnaent hwy lyfr cyfansoddedig—ysgrythyrau santaidd—cyfrol neu gyfrolau o air Duw?

Nyni a wnawn ofyn yn mhellach, pa un a oes gan yr Iesu adgyfodedig a'i angylion, hawl a gallu i ddadguddio y fath dystiolaethau i'r byd; y pryd, a'r amser, a thrwy yr hwn y gwelont yn dda?

Os felly, pa bryd y dylem ddysgwyl iddynt ddyfod yn wybodus i'r byd, os nad yn ngwawr adferiad pob peth, yr hyn a lefarwyd gan Dduw trwy enau ei holl santaidd Brophwydi er dechreuad y byd?

Yr ydym ni yn deisyf arnat ti, anwyl ddarllenydd, pwy bynag ydwyt, i ddwys-ystyried y cwestiynau hyn yn dda, a hwy a chwyddant ac a eangant dy galon.

*(I'w barhau.)*

*Cefn.* *Cyf.* MORGAN JENKINS.

---

## NODIADAU W. GIBSON AR LYFR MORMON.

[Parhad o dud. 273.]

Y GWRTHDDADL nesaf a gyfeiriaf ati, yw y cyfrif a roddir yn Llyfr Mormon, am y cwchod gyda thwll yn y pen uchaf ac un arall yn y gwaelod. Y rhan hon yn wastad a ddaliwyd i fyny er gwawd, a'n gelynion a wnaethant y defnydd goreu o honi i'r pwrpas yma.

Mae Llyfr Mormon yn dywedyd, "yr oeddynt yn ddiddos megys phiol;" ac oddiwrth hyn y traethir eu bod ar ddull phiol; ac yr wyf yn cofio yn dda glywed y Parch. C. J. Kennedy yn darllen y gyfran hon, ac yna eu cymharu i phiolau a thyllau yn eu gwaelodion; ac yn gofyn i'r gwrandawyr, a all y fath lestr nofio? ond pa fodd y gall bad o hyd y pren, wedi blaenllymu ei ddau pen, fod yn debyg i phiol, efe a anghofiodd roddi gwybod. Fe wel pob dyn diragfarn a ddarlleno yr hanes am danynt yn Llyfr Mormon, mai nid gyda golwg ar eu dull y dywedir eu bod yn debyg i phiolau, ond gyda golwg ar eu diddosrwydd; ac fe ddywedir yn nhud. 526, eu bod yn ddiddos megys Arch Noah; ac am y twll yn y pen a'r gwaelod, mae yn eglur i bawb fod pob un o'r ddau yn ofynol er mwyn awyr a glendid ar y fath fordaith; ac wrth ddarllen yr hanes, cewch weled i'r Arglwydd ddangos iddynt pa fodd y rhwystrent y dwfr i ddyfod i mewn arnynt, er nad yw y modd ei gwnaed ddim yn cael ei goffâu; etto gan weled yr amlygir iddo i gael ei wneyd, dymunwn ofyn i'm cyfeillion doeth, a oes rhywbeth yn ammhosibl neu hyd y nod yn ddyeithr iawn yn y drychfeddwl? Gwir, pe bae i'r twll yn y gwaelod gael ei gauad ag ystopell, fel baril gwrw, megys y myn rhai doethion ei fod, fe fuasai yn lled ddyeithr iddynt pa ddefnydd a ellid wneyd o hono, oddieithr yn yr amgylchiad o ddymchweliad y cwch, ac hyd y nod wed'yn fe ddylai fod rhyw beth yn eangach na bwng baril gwrw cyn bod o lawer o ddefnydd. Ond gadewch i mi ofyn, a ydych chwi yn meddwl y buasai adeiladydd llongau da yn ei gyfrif yn beth anmhosibl adeiladu bad mor ddiddos fel nad elai dim dwfr i mewn, ac yna adael twll yn y pen uchaf, wedi ei gyfleu fel y gallai gael ei agor a'i gau yn ol ewyllys y rhai a fyddent i mewn, a gadael twll arall mewn rhyw ran o'r gwaelod, a thrwy ddefnyddioldeb cau-bawl neu bibell gyffredin, neu ryw beth o'r fath wedi ei wneyd naill ai o haiarn neu o bren, a'i hyd yn gyfatebol i'r uchder y codai y dwfr yn yn y llestr, trwy ddwysder yr awyr, i atal y dwfr rhag dyfod i mewn, ac etto fod yn wasanaethgar i'r dyben o lanhau.

Cof genyf ofyn i foneddwr yn Scotland, yr hwn oedd flaenor mewn cymdeithas grefyddol, ac yn dra adnabyddus o herwydd ei gyrhaeddiadau celfyddydawl, a oedd ef yn meddwl na allai bâd gael ei wneuthur â thwll yn ei waelod, a thrwy gynnorthwy rhyw ddyfais syml o'r fath a enwais, y gallai y dwfr

gael ei rwystro i ddyfod i mewn, pan, ar yr un pryd, y byddai'r agoriad a adawid felly o fawr wasanaeth i'r rhai o'r tu fewn?

Fe ddywedodd ei fod yn credu y gallai y fath beth gael ei wneyd yn hawdd, ond nad oedd Llyfr Mormon yn rhoddi un cyfrif am ddyfais o'r fath; cafodd gan hyny benderfynu nad oedd un i gael, ac yna dweyd fod yn bosibl i'r fath lestri nofio oedd wrthun, oddieithr iddynt gael eu dal i fyny gan wyrth barhaus.

Gan ei fod ef yn proffesu credu y Beibl, mi a ddeisyfais ofyn iddo gwestiwn neu ddau mewn perthynas i fâd a sonir am dano ynddo, sef yr Arch. Fe ddywedir i ni i Noah gael gorchymyn i adeiladu arch, 300 cufydd ei hyd, 50 cufydd ei lled, a 30 cufydd ei huchder,—ei fod ef i'w rhanu yn gyntaf, ail, a thrydydd llofft,—ei fod i'w phygo tu fewn a thu allan â phyg, ei fod i wneuthur ffenestr ynddi o faintioli un cufydd, ac fod iddo wneuthur drws yn ystlys yr arch; yr oedd hefyd i gymmeryd y creaduriaid a'r ehediaid glân bob yn saith, a'r aflan bob yn bârau i'r arch, hefyd ei hun a'i deulu, yna y drws a'r ffenestr oedd i gael eu cauad i fyny arnynt. Gofynais i'r boneddwr os gallasai llettywyr yr arch fyw heb awyr? atebodd na allasent! Yna gofynais pa fodd yr oeddynt i'w gael, pan yr oedd yr unig ddrws a'r ffenestr yn yr holl adeilad mawr hwn wedi eu cau arnynt, a phob agen ac asiad wedi ei llanw â phyg? O, ebe fe, yr oedd yn rhaid fod yno ryw ddyfais at y perwyl hwn a'r nad yw wedi ei gofnodi; ond mi a ddywedais wrtho, i fod yn gysson, y dylai ddywedyd, gan nad yw y Beibl yn rhoddi hanes am un ddyfais o'r fath, y dylai gan hyny wadu nad oedd un i'w chael, a bod yn wrthun i ddweyd eu bod yn byw heb awyr, oddieithr eu bod yn cael eu dal i fyny gan wyrth barhaus; a phe bai ein cyfeillion, Meistri Chambers, yr Atheneum, &c., i gyfeirio yr un ymresymiad at hanes yr arch a roddir yn y Beibl, ag ydynt yn roddi i hanes y cwchau a roddir yn Llyfr Mormon, pe baent yn ddynion cysson, os gwrthodent un ar y cyfrif hwn, dylent wrthod y ddau; oblegid wrth ddarllen hanes yr arch a roddir yn y Beibl, mae yn rhaid i ni naill ai dweyd fod yno ryw ddyfais at roddi iddynt awyr nad yw wedi ei gofnodi, neu gyrchu at yr hyn a eilw yr Atheneum (pan yn dywedyd am Lyfr Mormon) ymryddhau oddiwrth anhawsdra, trwy y cyfrwng rhwydd a thra awdurdodol o wyrth: ac os dywedwch chwi fod yn rhaid fod rhyw gynllun neu ddyfais yr hon ni chofnodir, i'w hattal hwy

rhag trengu o eisieu awyr yn yr arch, onid yw ef ddim peth afresymol i ddweyd i fod yn rhaid fod rhyw gynllun neu ddyfais a'r na chofnodir, i'w hattal rhag trengu trwy orlifiad dwfr i'r cwchod.

Y gwrthddadl nesaf a gymmeraf sylw o honi yw yr hyn a gymmerir oddiwrth iaith Llyfr Mormon.

Yr Atheneum a'r Meistri Chambers a ddywedant, "Un prawf hynod a gawn trwyddo oll, nid yn unig o dwyll, ond hefyd o anwybodaeth y trwyllwr, yn cael ei ail adrodd gyda childynrwydd. Pob prophwyd yn ddilynol a brophwydent i'r Nephiaid am ddyfodiad Crist. Yr ysgrifenydd a syrthiodd i'r gwall anferth o gamsynied cyfenw am enw. Y gair Crist, megys y gŵyr pob person dysgedig, nid yw enw, ond teitl Groeg o swydd, yn arwyddocau 'yr eneiniog,' yr hyn mewn gwirionedd sydd gyfieithad o'r gair Hebraeg Messiah. Yn awr, y defnydd o air Groeg mewn oes pan nad oedd yr iaith Roeg wedi ei ffurfio, a chan bobl â pha rai yr oedd yn anmhosibl i'r Groegiaid gael cyfrinach, ac heblaw hyn, iaith enedigol pa rai oedd o gyfansoddiad mor neillduol fel nad oedd ddarostyngedig i gymmysgiad pellenig, sydd nôd o ffugiad mor eglur a bwriadol a ddylai er ys llawer dydd ddynoethi y twyll; yn anffortunus, beth bynag, cymhellir ni i'r penderfyniad, oddiwrth y llyfrau o'n blaen, nad oedd y Methodistiaid Americanaidd, y rhai cyntaf a gymmerasant arnynt ddynoethi'r Mormoniaid, ond prin llai annoeth na hwythau.

"Ail Nephi a gymmer i fyny yr hanes mewn amser cydoesol â'r dygwyddiadau a gofnodir yn y Testament Newydd, a'r geiriau a briodolir iddo ef ydynt fyth yn dwyn penderfynol amlygrwydd o anwybodaeth y twyllwyr. 'Wele, myfi wyf Iesu Grist, Mab Duw, mi a greais y nefoedd a'r ddaear, a'r holl bethau sydd ynddynt.' A thrachefn, 'myfi yw bywyd a goleuni y byd; myfi wyf Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd.' Mewn ychwanegiad at y chwithrwydd blaenorol perthynol i'r gair 'Crist,' ni a gawn yr enw Iesu yn ei ffurf Roegaidd, ac nid fel y galwai yr Hebreaid ef, Joshua; ni gawn, heblaw hyny, y llythyrenau cyntaf a diweddaf yn yr egwyddor Roeg, yn cael eu rhoddi megys desgrifiad traws-symudawl o barhad bodoliaeth i genedl na chlywsant erioed am yr iaith Roeg. Mae yn eithaf eglur i'r ysgrifenydd gamsynied Alpha ac Omega am ryw seiniau santaidd a chyfrinawl, wrth ba rai y cyssylltid rhyw santeiddrwydd neillduol, a'u hysgrifeni

fawr heb ganfod eu bod yn dystiolaeth o ffugiad mor deimladwy â bod yn amlwg i bob crwt ysgol." Felly gan hyny, yn ol hyn yma, y credinwyr yn Llyfr Mormon ydynt ffyliaid, a'r Methodistiaid Americanaidd nid ydynt well, am na wnaethent hyn cyn ei wneuthur gan y fath ddyn doeth a dysgedig â golygydd yr Atheneum, neu'r fath foneddigion talentog a mawr-enwog â'r Meistri Chambers, o Edinburgh.

Nid oes rhaid i mi ddywedyd dim wrth y rhai hyny a ddarllenasant ateb yr Henuriad P. P. Pratt i'r hyn yma, yn y rhifyn cyntaf o'r ail gyfrol o'r *Millennial Star*. Ond gan y gwneir yn fawr o hyn gan ein gelynion fel rheswm i brofi Llyfr Mormon yn ffug-chwedl, a chan fod llawer na welsant atebiad yr Henuriad Pratt, ychydig o eiriau ar y pwnc a allai fod o les.

Yr "Atheneum" a ddywed i'r geiriau Groeg hyny, yn ol Llyfr Mormon, gael eu rhoddi i genedl na chlywsant son erioed am yr iaith Roeg. Yn awr hyn sydd gelwydd i ddechreu ag ef. Nid oedd y fath enwau ar y llafnau o ba rai y cyfieithwyd Llyfr Mormon. Pa beth oedd yr enwau a briodolid i'r Gwaredwr yn iaith yr hen Indiaid Americanaidd,—pa fodd eu pareblid ganddynt hwy,—neu pa fodd yr ymddangosent pe bai drychfeddwl o'r gwreiddiol i gael ei drosglwyddo â llythyrenau Seisoneg nis gwyddom, oblegid nid oes genym ond y *cyfieithad* yn unig; ond y dynion doeth yna a anghofiasant hyn, gan ymdrechu gwneyd dynion i gredu fod y geiriau Groeg hyny yn y gwreiddiol. Y dafodiaith Seisnig sydd gymmysgedd o amryw ieithoedd, Groeg yn mysg y lleill; gan hyny, pe bai hyd y nod y Meistri Chambers, neu olygydd dysgedig yr "Atheneum" i gyfieithu llyfr o ryw iaith arall i'r Saesneg, ac yn y llyfr hwnw i ddywedyd am Waredwr dynolryw, pa fodd y galwent ef? Meddyliwch eu bod yn cyfieithu o'r Hebraeg, a alwent hwy ef Joshua? os gwnaent, yn nesaf dywedent i'r bobl mai wrth Joshua y meddylir Iesu Grist, neu efallai y meddyliai rhai eu bod yn meddwl Joshua mab Nun, ac er hyny y doethion hyn a gant allan wall yn nghyfieithad Llyfr Mormon, oblegid nad yw yn galw y Gwaredwr yn Joshua, enw wrth ba un nid yw yn adnabyddus yn yr iaith Saesneg.

Yn awr, y mae Llyfr Mormon ar gael ei gyfieithu i ieithoedd ereill, Ffrengaeg, Almaenaeg, Italaeg, &c.; pe bai y doethion yno megys y doethion yma, y gwall yn Ffrainc fuasai fod geiriau

Ffrengig yn cael eu gosod yn ngenau Nephi, ac yn yr Almaen am fod Nephi yn arfer defnyddio yr iaith Almaenaeg, a phe bai y fath beth â gair Lladin mewn defnydd yn mhlith rhyw bobl, i iaith pa rai y cai ei gyfieithu, yna (yn ol yr "Atheneum") pe bai y gair hwnw yn y cyfieithad, byddai yn dystiolaeth o ffug-dwyll mor deimladwy â bod yn eglur i bob crwt ysgol. O, ffolineb, tydi wyt yn awr yn ganfyddedig yn yr uchel-leoedd! Pa mor eglur y traethodd Isaiah yn y bennod 29ain, pan yn dywedyd am ddyfodiad allan y llyfr,—"doethineb y doethion a ddiflanai, a deall y rhai deallus a ymguddiai!"

(*I'w barhau.*)

---

## A LETTER FROM CALCUTTA.

*Calcutta, June* 25, 1852.

MY DEAR ELDER ELLIS,—I feel great pleasure in sending you a short account of myself and mission, at the same time not forgetting to acknowledge past kindnesses from you and the dear Saints in Wales, who I shall ever remember with prayerful gratitude.

I sailed from London on the 3rd of September last, on board the Queen East Indiaman, Captain Donald McLeod; and after one of the finest passages ever known, arrived in Calcutta on Christmas Day. When I landed, I found six members, and now we are 200 strong in Calcutta and the surrounding parts; 180 natives, and 20 Europeans; with many on the water's edge. The hireling clergy and the papers are full of scorn, scandal, and misrepresentation; but the papers have inserted many of my letters, a thing unknown in Britain, but Mormonism is a new thing in India, and therefore they have indulged me, in order that the public may be able to judge of both sides of the question.

The kindness shewn me here by the brethren, is far far above what poor purseless Elders meet with in general, for which I ought to feel, as I do, the deepest gratitude to the Saints and my Heavenly Father. Captain Meik, late of the Queen's Regiment of Foot, is my kind host; but I have several other homes among the Saints, and also among enquirers: and one day a large piece of land was given me in one of the villages, by one of the

brethren, to erect a house upon, that I might go and live with them. May Jehovah bless them and all good Saints.

It is so hot here that Europeans cannot walk out in the day; they are obliged to ride in carriages, which is my *hard lot*, when I have to go from one place to another. The most delicious fruits are grown here: food is cheap and plentiful, and every thing goes on quite swimmingly, Mormonism included.

I often think of my journeyings, and dear brethren and sisters in Wales, and very often amuse myself by comparing the Hindoostannee language with the Welsh, which I have not forgotten. For instance you call dinner, *cinio*; they call it *konner*, and *karner*. Again, twenty in their language is *beas*, the name for fingers in Welsh, and just the numbers in toes and fingers on a perfect human, &c. O Babylon!

It is the general impression among Hindoos that the end of the world is near, which they have learned from their Fakeers, a class of mendicant priests, who say that the time is very near at hand when the whole world will be all of one religion.

In presenting my kind regards to Presidents Phillips, Davis, and Pugh, and all the Saints in Wales, both known and unknown, I desire an interest in their prayers, and in return will pray earnestly for them; and if there be any thing in the few lines I have herein written worthy of insertion in UDGORN SEION, I shall feel much gratitude to have it so; and believe me to remain most affectionately,

Yours in Jesus Christ,

WM. WILLES.

P.S.—I would mention the names of many in kind remembrance, but as I might forget others, it is wisdom to send a general salutation; but there are many when I think upon them, for whom my heart burns with brotherly affection, who have ministered to my wants, have cheered me, and made me forget my proverty, &c.

---

## "Y DRYSORFA YMFUDOL BARHAUS."

TON—"Long time ago."

HENFFYCH i'r wych "Drysorfa<br>
Ymfudol" a "pharhaus,"<br>
Can's trwyddi hi y mae ein Duw<br>
Am lwyddo yn ei gais;

Sef, casglu'i blant, fel casgla'r *iar*
Ei chywion bach ynghyd,
Rhag derbyn dim o'r pläau tost
Sy'n dyfod ar y byd:
Hon gasgla y cenedloedd draw
O bedwar cwr y byd,
I wych ddinasoedd Seion dêg,
I lawenhau ynghyd.

Hi ddaw â'i miloedd ar y môr,
Mewn llongau, rhag y llid,
Ac a'u harweinia oll yn llon
I'r dyffryn gwycha'i gyd:
Gwir effaith Undeb ydyw hon,
A'i grym a dardd o Dduw,
Er casglu llafur enaid Crist,
Fu farw ac sydd fyw;
Ei allu ef a'i gynghor cu
Yw y Drysorfa hon,
Er cludo y tylodion caeth
I ffwrdd o Babilon.

Hoff destun cân Prophwydi cu,
A Phatriarchiaid Duw,
Oedd gwaith y wych Drysorfa hon,
Sef casgliad dynolryw:
Trwy hon dylifa pobloedd lu
I fynydd tŷ ein Duw,
Gan dd'wedyd, Deuwch, awn yn hy,
Er dysgu'i lwybrau gwiw;
A golud y cenedloedd ddaw
I'r wych drysorfa hon,
Er myned â'r Saint tlodion rhwym
O gystudd Babilon.

Daw hon â'i lluoedd mudol maith
O bell eithafion byd,
Fel nifer o gymylau mawr,
Neu golomenod clud;
Dan ganu deuant ar y dwr,
Mewn sain gorfoledd llon,
Gan seinio mawl i Dduw, eu Tad,
Am y Drysorfa hon:
Daw'r hybarch *Lywydd Phillips* ddewr,
A'i filoedd gydag ef,
I fynydd Seion, tegwch bro,
Dan ganu'n llon eu llef.

Sarn Duw i'r ffoedigion doeth
Yw y Drysorfa hon,
Cynnorthwy er diangfa lwyr
Rhag pläau Babilon:
Fe ddyry hon ddiangfa lawn,
Fel gwialen Moses cynt,
I dlodion gael mynedfa rwydd
I Seion ar eu hynt:
Gwregysed pawb eu lwynau'n glau,
A ffoent yn awr mewn pwyll,
Can's dyry hon ymwared dda
I'r Seintiau dewr didwyll.

Doed pawb â'u seinber offer cerdd
I'w canlyn tua thref,
Er canu am ddiangfa rad,
Ddaeth drwy'r Drysorfa gref;
'Neillduol Seintiau Cymru gu,
Pêr genwch idd eich Duw,
Am ffydd eich prif Lywyddion hoff,
Sef *Phillips—Davis—Pugh*;
'Rhai hyn trwy ffydd a dewrder mawr,
Yn nghanol Babilon,
Roddasant gynnydd cyflym iawn
Yn y drysorfa hon.

Trwy ffydd y cawsant ac y cânt,
Air da yn mhlith y Saint,
Am eu cyd-deimlad drostynt hwy,
I'w gwared rhag yr haint:
Bendithied ein Goruchaf Dad
Ein tri Llywyddion hyn,
A ffydd a phob gwybodaeth lawn,
I'n cael o'n rhwymau tŷn:
Gobeithiaf yn fy Nefol Dad,
Y caf ymwared lwyr
Gyda'r *Sant Phillips*, Lywydd eu,
Cyn myned yn rhy hwyr.

*Fflint.* THOS. CONWAY.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

HARDDWCH heb rinwedd sydd fel bedd gwyngalchedig; yn dêg oddiallan, ond oddifewn yn llawn budreddi.

MEDDWYN.—Tra y mae meddwyn yn llyncu gwin, y mae gwin yn ei lyncu ef; Duw a ddiystyra y meddwyn, yr angylion a'i dirmygant, dynion a'i gwawdiant, rhinwedd a'i gadawa, a'r diafol a'i dinystria.

Pa mor ddiniwed bynag y byddo pleserau, y mae eu dilyn i ormodedd yn bechadurus.

Mae yn fwy doeth i edrych heibio i droseddau bychain, nag amryson o'u herwydd ; trwy yr olaf yr ydych yn gydradd â'r troseddwr, ond trwy y blaenaf yr ydych yn mhell uwchlaw iddo.

---

DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU, CANGENAU, AC EREILL, AM Y CHWARTER YN TERFYNU MEDI 30, 1852.

*Cynnadleddau*—Sir Fynwy, £42 11s 10¾c; Sir Frycheiniog, £5 13s 6½c; Llanelli, £11 12s 5½c; Sir Aberteifi, £7 2s 8¼c; Gogledd Penfro, £4 4s 5½c; Gorllewin Morganwg, £54 16s 11¾c; Sir Feirionydd, £6 9s 7½c; Sir Fflint, £11 5s; Sir Fon, £12 11s 10½c; Dyffryn Conwy, 16s 9c; Sir Ddinbych, £11 18s 11¾c; Cynnadledd Gymreig Llynlleifiad, £2 10s 1¾c; Caerfyrddin, £3 8s 9c. *Cangenau*—Dinas, £3 0s 10½c; Llanilltid, £4 15s 11c; Pontypridd £5 13s 7c; Llanfabon, £2 5s 11½c; Cwmbach, £5 5s 4½c; Pendulwyn, 8s 6c; Twynyrodyn, 15s 3c; Llandaf, £1 11s 1c; Gostwng, 7s 4c; Eglwysnewydd, 9s; Pontfaen, £1 12s 6c; Caerdyf, £13 2s 8c; Aberdar, £16 0s 7½c; Dowlais, £4 8s; Hirwaen, £0 0s 0c; Cwmnedd, £1 19s 1½c; Rymni, £1 9s; Georgetown, £1 16s 9½c; Merthyr, 18s 11¾c; Pendaren, £4 18s 8c; Cefn, £2 15s 6c; Ynysgou, £2 10s 2½c; Gwernllwyn, £2 4s 8c; Ffynnon-Tydfil, £3 6s 10½c; Troedyrhiw, 16s 7½c; Rymni (Seisneg), 4s 3c; Gellivaelog, £1 0s 6c; Gog, £1 9s 5c; Aberdar (Seisnig), 2s 6c; Aberamman, £5 3s 7½c; *Personau*, £2 0s 3c.—Cyfanswm, £ 267 16s 9½c.

Taliadau o Fedi 16 hyd Medi 30.—Sir Fynwy, £1 10s; Sir Fflint, £1 10s; Sir Fôn, £2 1s; Cwmbach, £1 4s; Caerdyf, £1 10s; Dowlais, £1 14s 8½c; Hirwaen, 3s 3c; Georgetown, £1 11s 7½c; Merthyr, £4 5s; Cefn, 13s 2c; Ffynnon-Tydfil, 3s 2c; Troedyrhiw, 10s 11c.—Cyfanswm, £16 16s 10c.

Rhwymo Llyfrau.—Cynghorem yr holl Saint i rwymo eu llyfrau gyda eu brodyr, yn hytrach na'r byd. Mae y brawd Isaac Jones, Caerfyrddin, wedi ei osod i rwymo llyfrau yn Nghynnadleddau Caerfyrddin a Llanelli, a'r brawd Richard Morris, Merthyr, yn Nghynnadledd Ddwyreiniol Morganwg; a gwyddom y rhwymant cystal ac mor rhad â neb.

☞ O herwydd dygwyddiad anocheladwy, gorfodir ni i.orhirio cyhoeddi yr erthygl ar "Ymfudiad," gan y Llywydd S. W. Richards, hyd y rhifyn nesaf.

☞ Mae amryw ohebiaethau ar law ag a fwriadwn eu cyhoeddi mor fuan ag y gallwn.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 21.] HYDREF 16, 1852. [CYF. IV.

## YR YMFUDIAD.

MAE tymmor ymfudiad y Saint yn agoshau yn gyflym; y mae llawer yn ymegnio i barotoi i adael eu cartref-leoedd, eu perthynasau, a'u gwlad enedigol, i ymuno â'r rhai hyny ag ydynt yn fwy anwyl ganddynt, mewn gwlad bellenig. Nid yw gwahoddiad Prif Lywyddiaeth yr Eglwys wedi myned mewn un modd yn ddisylw; mae y newyddion sydd yn myned allan o Seion, yn ymddangos fel pe byddent yn cludo i bob cywir galon, yr heddwch hwnw a drig o fewn ei chyffiniau, ac y mae dymuniad wedi cael ei ennyn nas gellir ei foddloni hyd oni ddeuant hwy yn breswylwyr yn ei thrigfanau, ac yn etifeddion i etifeddiaeth a sicrha iddynt ei gogoniant tragywyddol hi.

Rhoir ar ddeall i ni fod rhai o'r cynnadleddau yn dysgwyl symudiad mwy nâ hanner eu rhifedi yn y tymmor Ymfudiad dyfodol, yr hyn sydd yn arddangos mai ysbryd ymgasglu yw y dylanwad ag sydd yn fwyaf yn y dyddiau presennol.

Ar y pwnc hwn, gan hyny, ni a ddymunwn gynnyg ychydig o awgrymiadau. Mae llawer wedi meddwl y gwaent aberthu y cyfan a feddent, a myned trwy unrhyw galedi a allent ei ddyoddef, pe gallent ond yn unig gael eu casglu gyda'r Saint; ac oni bai yr eigion dwfr sydd rhyngddynt, yr ydym wedi meddwl mai prin y gellid perswadio llawer rhag cychwyn ar draed, i ddilyn esiampl Israel pan yr aethant allan o'r Aifft i chwilio am wlad yr addewid,—gan gredu mai "yr hyn a wnaeth dyn a all dyn ei wneuthur."

Nid yw yr amser, pa fodd bynag, wedi dyfod etto i'r dyfroedd

mawrion gael eu troi yn ol i'r gogledd, a'r cyfandiroedd a'r ynysoedd gael eu huno, fel y byddo prif-ffordd yn amgylchynu y ddaear i waredigion yr Arglwydd rodio ar hyd-ddi, fel ag y cymmer le etto pan dderbynia Seion a Jerusalem ufydd-dod oddiwrth yr holl bobloedd ag ydynt yn trigo ar y ddaear. Mae peryglon y dyfnder, yn gystal â threialon ar y tir, yn awr yn gorwedd ar lwybr y Saint pan yn myned tua Seion; ac o herwydd fod ganddynt yn gyntaf i *farchogaeth* y dyfnder tonawg, ni raid iddynt o anghenrheidrwydd gael eu hamddifadu o'r pleser o *gerdded* y gwastadedd anial, neu ddringo llwybrau geirwon y mynyddoedd, y rhai ydynt yn cuddio dyffrynoedd heddychlawn ac hyfrydol Seion oddiwrth fyd terfysglyd.

Yr ydym wedi cynnyg fod pawb a allant gael £10 y pen, i ymfudo y tymmor nesaf i ddyffrynoedd y mynyddoedd; ac oblegid y gefnogaeth a roddwyd trwy enwi y swm fechan hon, y mae llawer yn ymegnïo i fyned a'r na fuasent yn meddwl am hyny o'r blaen. Eithr ni a ewyllysiwn adgofio pawb felly a fwriadant ymfudo â £10 y pen, nas gallant ddysgwyl fyned mor gysurus â'r rhai sydd yn myned ag £20; oblegid tra mae'r swm arianol yn cael ei lleihau, y mae y cyfleusderau o anghenrhaid yn cael eu lleihau mewn cyferbyniad. Nis gallant ddysgwyl cael cynnifer o geffylau, anifeiliaid, a wageni i gludo eu hunain a'u llwythi dros y mynyddoedd; a gwna hyn agor y ffordd yn dra effeithiol i lawer o'r Saint i fwynhau y fraint ddysgwyliedig, a chan lawer, hir-chwennychedig, o gerdded dros y gwastadedd. Nis gallant ddysgwyl cymmeryd llawer o lwyth gyda hwynt, os na feddant anifeiliaid a wageni i'w lusgo.

Ar y pwnc hwn y mae genym air o gynghor i'r Saint, a byddai yn dda iddynt ddal sylw arno, yn gymmaint ag mai trwy brofiad y rhai ag ydynt wedi myned yn flaenorol, y mae i'r rhai ag ydynt yn aros gael eu llesoli, os byddant yn ddoeth:—Achwyniad llawer iawn ag ydynt wedi ymfudo hyd yma oedd, eu bod yn cymmeryd llawer gormod o lwyth ganddynt; ei fod nid yn unig yn dra chostfawr iddynt, eithr yn ffynnonell fawr o drafferth a gofid; ac ar ol iddynt hwy ddyoddef yn erwin oddiwrth y drwg, am yr hwn y rhybyddiwyd hwynt yn brydlawn, y maent wedi ysgrifenu mewn ffordd o rybydd at eu cyfeillion, fel na ddelid hwythau yn yr un fagl o hyn allan. Bydded y Saint yn ddoeth yn y peth hwn; rhagwelwch y drwg, a gochelwch ef. Gwerthwch eich hen

gistau haiarn-gylchedig, y rhai a drosglwyddwyd i lawr o genedlaeth i genedlaeth; ac yn eu lle, mynwch flychau ysgafn, wedi eu gwneyd yn dda, heb fod dros 40 troedfedd o hyd, 20 troedfedd o led, ac 20 troedfedd o ddyfnder; y cyfryw ag y gellwch eu trafod yn hawdd ar fwrdd y llong, neu eu codi i mewn ac allan o'ch wageni ar y gwastadedd.

Gwerthwch eich *picture-frames* oedranus, y rhai a roddwyd i'ch gorhendeidiau a'ch gorhenneiniau gan eu tadau er cyn cof, ac a drosglwyddid o hyd i lawr o dad i fab, ac ysgatfydd yr unig rodd sydd ganddo i drosglwyddo i'w hiliogaeth, ac a ddefnyddid i addurno rhyw lun dychrynllyd, yn arddangos rhyw anghenfil anferth o ardaloedd uffernol y damnedigion, neu ryw un arall o'r mil-acun lluniau, y rhai ydynt ry anfoesol i gael eu hesgusodi oddieithr gan genedlaeth odinebus, yr hon ni fedd ond ychydig barch i ddirnadaeth yr hil ddynol. Ac wrth y rhai a gymmerant fwy o bleser i edrych ar eu llun yn yr hen ddrych mawr pwysig a roddodd eu hen famgu iddynt ar ddydd eu priodas, nag i ymadael ag ef a myned adref i Seion, lle y gallant weled eu hunain yn nrych mawr y Nefoedd, wedi eu hadlewyrchu gan Oleuni Gwirionedd—ni ddywedwn ond yn unig, "Gwared ni, Arglwydd daionus," oddiwrth yr holl gyfryw dduwiau a gwag-addoliad. Ac ni a ddymunem adgoffa yr holl rai hyny ag ydynt â'u serch yn gryfach yn y cyfryw weddillion nag ydyw yn yr ymgasgliad, y gwna y diafol yn fuan eu gwahodd i ymgasglu i wlad lle ni chaniatâ iddynt i gymmeryd hyd y nod eu cyrff, heb ddweyd dim am eu gwisgoedd gwychion, gemau, a duwiau cyffelyb ereill, ar y rhai y rhoddasant eu calonau. Nid â ei wahoddiad ef yn ddisylw; efe a ddarostwng y corff yn isel, ac a ryddha yr ysbryd oddiwrth ofalon a phryder darfodedig y byd, i gyfranogi o'r trueni mawr ag y bydd yr ysbryd yn agored iddo tra o dan lywodraeth yr hwn sydd yn cadw awdurdod marwolaeth. Dylai Saint fod yn ddoeth; gallant gofio er eu lles y gorchymyn a roddwyd i Israel, "Na fydded i ti dduwiau ereill ger fy mron i," gan gadw gorchymynion yr Arglwydd, a byw.

Ni ewyllysiem ddywedyd dim yn erbyn y teimladau hyny o barch a diolchgarwch ag y mae pob dyn yn deimlo, neu a ddylai deimlo tuag at ei hynafiaid, a'r rhai sydd yn ei gymhell ef i werthfawrogi mor fawr unrhyw weddillion o'u heiddo hwy neu eu hamseroedd; eithr ni ddylid caniatâu i'r teimladau hyny rwystro

dynion rhag cadw gorchymynion Duw. Gwell iddynt gael eu haberthu gan y Saint, os bydd anghen, er cael etifeddiaeth yn Seion, lle y gellwch ddangos eich gwir barch i'ch henafiaid, trwy wneyd y gweithredoedd iachawdwriaethol hyny, y rhai a fyddant er eu tragywyddol ogoniant. Dylai gweddillion neu wrthrychau hynafiaethol, cyn cael eu cludo mor bell, a chyda'r fath gost mawr, fod yn gyfryw ag ydynt yn werthfawr, ac a ellir eu troi yn wasanaethgar yn Seion.

Byddai yn dda i grefftwyr a gymmerant offerynau, i beidio cymmeryd ond yn unig y rhai gwerthfawr ac ysgafn, gan adael llawer o'r rhai trymaf ar ol, gan y gellir cael yn agos bob math o offerynau yn y Dyffryn. Buasai yn fuddiol cymmeryd amryw fathau o *professional instruments.*

Mae llawer wedi meddwl hyd yma, nas gallent ymfudo heb gymmeryd ganddynt ddigon o ddillad am bump neu ddeg mlynedd, ac wedi gwario eu harian i brynu yr hyn a dybient oedd yn ddarpariaeth anghenrheidiol, hyd nes nad oeddynt wedi gadael digon o arian i dalu am eu cludiad, ac yna yn gorfod eu gwerthu ar y ffordd, fe ddichon am hanner eu gwerth. Mae hyn yn ein hadgoffa gymmaint am y chwedl ynghylch "Y Forwyn Wledig a'i hystwc odro," nes y meddyliwn y dylai y Saint ddysgu doethineb oddiwrthi. Gadewch eich stoc ddeg mlynedd o ddillad a lledr esgidiau ar ol, ac na thybiwch ei fod yn bechod i chwi gymmeryd ychydig o arian genych, fel y galloch noddi y gwneuthurwr cartrefol yn Seion, ac felly gynnorthwyo y Saint i gadw gorchymyn Duw i wisgo eu dillad yn syml, ac o waith eu dwylaw eu hunain. Gallai niweidio cymmeriad dyn yn y wlad hon, os na allai wisgo cystal brethyn teg, cystal het, a chystal botas ffasiynol â'i gymmydog; a'r foneddiges na allai wisgo cystal sidan a phali, cystal ysnodenau ar gystal penguwch, a chael ei haddurno â chynnifer o emau â'i chymmydogesau, a edrychid i lawr arni fel yn anghymhwys i'r cylchoedd ffasiynol neu hyd y nod gyfrifol yn yr oes oleu hon. Eithr y mae'r Saint sydd yn ymgasglu i'r mynyddoedd, yn ddigon cauedig oddiwrth y byd, i'w ystyried yn ffasiynol ac yn iawn, i ddynion a benywod beidio cyfrif eu hunain uwchlaw eu cymmydogion ag ydynt yr un mor rhinweddol a da; eithr meithrin cydraddoldeb yn gystal â chynnildeb; gwneuthur i ereill fel yr ewyllysiech iddynt hwy wneuthur i chwi; parchu a darparu dros y tlodion; mynu gwerth dyn mewn cymdeithas yn

adnabyddus trwy ei weithredoedd da, yn lle ei arian; byw trwy ddiwydrwydd, yn lle trwy fyfyrio byw bywyd segur ac anfad; yn fyr, y mae yn iawn yno i fod yn anmhoblogaidd yn ngolwg y byd, trwy ffieiddio balchder a phob math o ddrygioni a ymarferir mewn cymdeithas Gristionogol er boddloni balchder a nwydau dynion, a thrwy ddyrchafu cyfiawnder i oruwch-deyrnasu yn mysg y bobl.

Yr ydym yn adgofio y Saint am y pethau hyn, fel y gochelont eithafion, tra y gwneir yn ddyledswydd arnynt i ddarparu yr hyn sydd yn anghenrheidiol ar y daith; megys dillad da a gwasanaethgar, at dywydd oer a thwymn, digon o leiaf i bara iddynt tra y byddont yn teithio, yr hyn a fydd o chwech i naw mis, heb anghofio diwalliad cyfaddas o fotasau ac esgidiau gyferbyn â'r gwastadedd; hefyd, rhai llestri at drin bwyd, y rhai a ddylent fod yn dra ysgafn, ac yn gyfryw a fyddont yn wir anghenrheidiol er trin bwyd ar y ffordd. Gan fod y llestri at drin bwyd a ddefnyddir ar y gwastadedd mor wahanol i'r rhai o ofynir ar fwrdd llong, gellir eu cael yn St. Louis efallai yn well nag yn y wlad hon. Mae rhai llestri alcam cryfion yn dra gwasanaethgar i deuluoedd ar y fath daith.

Dylai y rhai hyny a olygant gyrhaedd y Dyffryn yn unig yn ol £10 y pen, adael pob peth afreidiol ar ol, gan eu troi yn arian i'w helpu ar y ffordd, a pheidio cymmeryd mwy nâ chan pwys i bob un, ac mewn llawer amgylchiad gall fod yn llawer llai, lle byddo amryw blant mewn teulu. Rhaid talu am bob trosgludiad dros gan pwys y pen, pan yn cael ei gludo dros yr afonydd Americanaidd; ac y mae yn costio saith ceiniog y pwys i'w gludo o Council Bluffs dros y gwastadedd. Cadwed y Saint hyn yn eu cof, a gadawent eu *rubbish* pwysfawr ar ol, yn hytrach nâ thalu am ei gludo hyd y Bluffs, ac yna ei weled yn cael ei daflu i afon Missouri, o herwydd na allant ei gario yn mhellach.

Eithr, meddai rhywun, a raid i mi gael £10 i'm plentyn, yr hwn nid yw ond tri mis oed? Rhaid, y mae yn gynnwysedig yn y cyfrif. Mae pob plentyn dan flwydd oed yn cael ei gymmeryd yn ddigost dros y môr; eithr pan ddeuant i drafaelu ar y tir, y maent mewn cyfartalwch yn gostfawr; a'r gyfran hono o'r £10 na threulir ganddynt hwy, a fydd yn sicr o gael ei defnyddio gan y lleill o'r teulu. Fe gostia braidd gymmaint y pwys i gludo y dillad a'r feithriniaeth yr ymddibyna y plentyn arnynt, ag a wna

i ereill; ac o herwydd y plentyn, bydd y fam ac yntau yn gofyn cael eu cario fwy neu lai ar y ffordd, a bydd yr anifeiliaid i'w llusgo yn costio arian. Y mae gwragedd a phlant bychain ar y cyfryw daith mewn anghen o bethau nad yw ereill. Yr ydym ni wedi enwi y swm leiaf y teimlwn yn gyfiawnhaol i gefnogi ymfudiad arni, lle byddo cwmnïoedd yn dysgwyl teithio gyda gweddeuau. Y cost i ymfudo efo y berfa-droell, llaw-gart, ac ar draed, nid ydym etto wedi cael allan.

Ar ol i ni dderbyn mynegiadau am y nifer a fwriadant ymfudo, y rhai a ddylent ein cyrhaedd ni ar y cyntaf o Dachwedd, y rhai hyny ni allant ond cael £10 neu £12 y pen a hysbysir mewn perthynas i'w rheoleiddiad, y swm o arian fydd raid iddynt ei gyru i brynu gweddeuau, &c. Pob gweddeuau a brynir gan drysorfa y cwmni, y rhai a fyddant oddeutu un i bob deg neu ddeuddeg o bersonau, a fyddant o hyd yn eiddo y cwmni pan gyrhaeddant y Dyffryn, i gael eu rhanu rhyngddynt yn ol fel y cyfranodd pob un.

Y rhai hyny a feddant fwy nag sydd yn ofynol er ymfudo, a wnant yn dda i dalu y dyled sydd arnynt i'r Arglwydd. Talwch iddo eich degwm, fel y gofyna genych, os ydych yn chwenuych ei ffafr, ac yn ewyllysio dianc rhag cael eich dal ar y ffordd gan genadydd o fyd arall, a'ch galw adref i setlo eich cyfrifon mewn llys uwch. Y mae yn beth cryn arferol i deithwyr dalu arian diogeliad pan yn cychwyn ar daith; a gallwn gymmeradwyo yn hyderus swyddfa y degwm yn 15, Heol Wilton, fel yr unig swyddfa diogeliad sicr i'r Saint Prydeinig a adawant y porthladd hwn ar eu ffordd i Seion. Llawer o'r Saint ag sydd ganddynt fwy nâ £10, a roddent y gweddill yn ewyllysgar i gynnorthwyo brawd neu chwaer; eithr i'r holl gyfryw rai y gofynem, A dalasoch chwi i'r Arglwydd yr hyn a berthyn iddo ef? Os naddo, pa hawl sydd genych i roddi eiddo yr Arglwydd i arall? A ddywedodd efe y gallech barchu brawd o'i flaen ef? Yn yr oll bethau hyn na thwyller chwi; eithr cofiwch fod cyfeillgarwch â'r Arglwydd yn fwy nâ'r holl fyd hebddo.

Ar ol i chwi wneuthur hyn, os bydd genych arian i roddi er ymgasglu ereill, cofiwch am y "Drysorfa Ymfudol Barhaus," oblegid y mae yr arian a gyfranir iddi hi, nid yn unig yn ymfudo y Saint yn bresennol, eithr yn dychwelyd ac yn cymmeryd ereill drachefn a thrachefn; y mae felly yn cyfateb i'w

henw, ac yn cynnyrchu llawer mwy o ddaioni wrth ymgasglu y Saint, nag a gyflawnir trwy roddi arian lle y gwarir hwynt yn yr ymfudiad presennol, a dim un ad-daliad yn cael ei wneyd o honynt tuag at ereill. Y rhai hyny a daflant o'r neilldu bob dybenion hunanol a phersonol, yn unol â natur ac ysbryd yr Efengyl, ac a ymgynghorant â'u Llywyddion ynghylch y defnydd a ddylent wneyd o'u harian, a ddygant lawer mwy o iachawdwriaeth i'r Eglwys ac iddynt eu hunain. I'r dyben hyny y rhoddwyd eich Llywyddion i chwi.

Nid ydym yn bwriadu yn ein gohebiaethau i roi annogaethau nad ydynt yn wirioneddol, er mwyn cefnogi ymfudiad. Yr ydym yn ysgrifenu i'r rhai hyny ag ydynt yn penderfynu myned, gan deimlo ei bod yn ddyledswydd gyssegredig, yr hon sydd yn ddyledus arnynt i Dduw, iddynt eu hunain, ac i'w plant ar eu hol. Y rhai hyny a ânt gyda rhyw ddyben arall, a fyddant yn dra anmharod i gyfarfod â threialon y fath daith beryglus. Lle y byddo unrhyw beth yn llai nâ Thragywyddoldeb mewn golwg, nid yw yr ysbryd yn ddigon dyrchafedig i wynebu yr anhawsderau a orweddant o flaen y Saint, i ddyoddef cynddaredd erlidwyr, neu gyfarfod yn ddiddychryn â gallu y dinystrydd ag sydd yn ymgeisio am fuddugoliaeth ar y ddaear.

Yr ysbrydion grwgnachlyd y rhai a aflonyddent wersyll Israel gynt, a ddygasant ddigofaint ac anfoddlonrwydd Duw ar y bobl, a hwy a hir-ymdrabaeddent o dan ei felldith ef oblegid hyny; a phob ysbrydion felly ag ydynt yn barod i achwyn oblegid triniaethau Duw, ni chefnogir genym ni i ddilyn gwersylloedd Israel y rhai a deithiant yn y dyddiau diweddaf. Y maent yn felldith i unrhyw gymdeithas a ewyllysio fyw mewn heddwch. Eu lle priodol sydd yn Mabilon tra yr arosant yn y byd hwn, ac ardaloedd y damnedigion pan yr elont i'r nesaf.

Mae gan y Saint sydd yn ymgasglu bob argoelion o fendithion o'u blaen ag a ellir eu cael oddiwrth feddiant o ddaear, awyr, tân, a dwfr; y rhai ydynt yn rhydd i bawb, ac yn roddion Duw i ddynion, â pha rai i ddiwallu eu hanghenrheidiau tymmorol; etto, ni fydd hyn amgen nâ magl iddynt, os anghofiant eu Duw, ac os na wnant i *bob peth* a lywodraethant fod yn wasanaethgar i adeiladu ei deyrnas Ef ar y ddaear, er gogoniant Duw, ac anfarwoldeb a bywyd tragywyddol dyn.

S. W. RICHARDS.

# CYHOEDDIAD!

## AT BOBL CYFFINIAU AC YNYSOEDD Y MOR TAWEL, O BOB CENEDL, LLWYTH, AC IAITH.

GAN PARLEY P. PRATT,

*Apostol Iesu Grist.*

*(O'r Argraffiad Awstraliaidd, gan yr Hen. C. W. Wandell.)*

[Parhad o dud. 315.]

### PARHAD O'R ANERCHIAD CYFFREDINOL, &C.

Yr ydym yn awr mewn modd difrifol yn rhagfynegi, yn enw yr Arglwydd Dduw Israel, mai yn mhen ychydig flynyddoedd, y gwna y byd ddwyn ynghyd a chymharu hen gof-ysgrifau, mor gyssegredig ac mor wirioneddol â geiriau Iesu Grist ei hun—mor santaidd â'r Beibl; cof-ysgrifau pa rai a ddadguddia Efengyl Mab Duw, dadguddiedig o leiaf i dair cenedl wahanol o'r ddaear, trwy ei weinidogaeth ei hun yn ei gorff gogoneddus.

Ni a roddwn hefyd enwau y cof-ysgrifau hyn, fel y canlyn:—

Cof-ysgrifeniadau yr Iuddewon (y Beibl); a ysgrifenwyd yn Asia.

Cof-ysgrifeniadau gweddill Joseph, y Nephiaid (Llyfr Mormon); a ysgrifenwyd yn America.

Cof-ysgrifeniadau Deg Llwyth colledig Israel; y wlad hyd yn hyn heb ei dadguddio.

Y tair cof-ysgrif genedlaethol hyn, a fyddant yn gynnefinol wybodus yn mhlith y cenedloedd, yn mhen ychydig flynyddoedd; ac a eglurir yn wirioneddol; a phob un o honynt a gynnwysant hanes o weinidogaeth Iesu Grist yn y gwledydd perthynol iddynt, fel ag y gwnaeth ymddangos yn wirioneddol iddynt ar ol ei adgyfodiad. Y geiriau a lefarodd, yr athrawiaeth a ddysgodd, a'r Efengyl a'r ordinhadau a osododd allan ac a orchymynodd, a fydd yn ysgrifenedig yn mhob cof-ysgrif.

Yn Judea, efe a ddewisodd ddeuddeg o Apostolion, sef, Simon Pedr, Andreas, Iago, Ioan, Philip, Bartholemew, Mathew, Thomas, Iago, Simon, Zelotes, a Judas Iscariot.

Yn America, efe a ddewisodd ac a ordeiniodd ddeuddeg o Apostolion, sef, Nephi, Timothy, Jonas, Mathoni, Mathonihah,

Kumen, Kumenonhi, Jeremiah, Shemnon, Jonas, Zedekiah, ac Isaiah.

Yn ngwlad y Deg Llwyth efe, wrth gwrs, a etholodd ddeuddeg arall, enwau y rhai a ymddangosant mewn amser priodol.

Heblaw y cof-ysgrifau hyn o'i weinidogaeth bersonol ei hun, y mae amryw wledydd a chenedloedd ereill (y rhai nid ydynt yn dal un cyssylltiad neu adnabyddiaeth â'r cenedloedd a gawsant y gweinidogaethau hyn, a'r lle ag y dewiswyd y corwmau hyn), pa rai a gawsant wybodaeth o'i farwolaeth a'i adgyfodiad, ac o ddawn yr Ysbryd Glan. Hwythau hefyd a ysgrifenasant gof-ysgrifau o'r unrhyw.

Yn awr, yr holl gof-ysgrifau hyn pa rai a achubwyd, ac y sydd yn gynnwysedig o air Duw, a ddadguddir ac a ddeuant i oleuni. Nid oes dim cuddiedig a'r nas gwneir yn hysbys: na dim dirgel a'r nas dadguddir, ac a ddaw allan, mewn cyssylltiad ag "amseroedd adferiad pob peth, ag a lafarodd Duw am danynt trwy enau ei holl santaidd Brophwydi er dechreuad y byd."

"Yr Iuddewon a gant eiriau y Nephiaid; a'r Nephiaid a gant eiriau yr Iuddewon. A'r Nephiaid a'r Iuddewon a gant eiriau Deg Llwyth colledig Israel; a Llwythau colledig Israel a gant eiriau y Nephiaid a'r Iuddewon." Ac fel hyn y dygir geiriau Duw yn nghyd ac y corffolir hwynt. A'r cenedloedd hefyd y rhai a'u hysgrifenasant, a gesglir ynghyd, ac a gorffolir. A phethau yr holl genedloedd a ddadguddir; a'r ddaear a orchuddir â gwybodaeth o'r hyn a aeth heibio, ac o'r pethau presennol, a'r pethau dyfodol; a thywyllwch, a phenboethni, ofergoeledd, ac anwireddau o bob math, a diflanant ymaith megys y diflana cysgod cwmwl, oddiar yr holl ddaear.

Y gofyniad a fydd, Pa beth yw y profion ar yr hyn y gorphwys gwirionedd Llyfr Mormon? I hyn yr atebwn: Chwiliwch y Llyfr, a dysgwch drosoch eich hunain. A chwi a gewch allan—

Yn gyntaf—Tystiolaeth y tystion.

Yn ail—Y cyssondeb, y cynghanedd, a'r gwirionedd egluradwy o'i hanesyddiaeth, a'i brophwydoliaethau.

Yn drydydd—Symlrwydd a phurdeb ei athrawiaethau.

Ac yn diweddaf, a'r goreu o honynt oll—Dawn Ysbryd Santaidd y gwirionedd, yr hwn sydd yn dwyn tystiolaeth i bob onest ei galon, ag a fyddo yn daer mewn gweddi, ac yn chwennych gwybod a gwneuthur y gwirionedd.

Gwirionedd sydd oleuni.
Goleuni sydd ysbryd.
Goleuni a ymlŷn wrth oleuni.
Gwirionedd a gofleidia wirionedd.
Gwybodaeth a amgyffred wybodaeth.
Ysbryd a adnabydda ysbryd.
Cyffelyb a gofleidia ei gyffelyb yn mhob peth ysbrydol.

Dyma rai o gyfreithiau natur yn y byd ysbrydol, ac y maent mor wirioneddol, ac mor addas i'w hamlygu, ag un o gyfreithiau naturiol y bydyssawd.

Dwy belen o arian byw, a osoder mewn cyffyrddiad y naill a'r llall, yn y fan a ail-adnabyddant ac a gofleidiant y naill y llall. Dwy fflam o dân, a osoder yn agos i'w gilydd, yn fuan a neidiant at eu gilydd, ac a ymgymmysgant yn un. Dau ddiferyn o ddwfr a osoder ar fwrdd, a arosant mewn dull crwn, hyd oni ychwaneger atynt, fel ag yr ymelaethont eu cylch, fel, pan gyffyrddont â'u gilydd, yn y fan a ymgymmysgant ac a ddeuant yn ddull crwn. Felly y mae mewn pethau ysprydol. Y mae yn mhob dyn ryw gyfran o ysbryd y gwirionedd; blaguryn o oleuni; a phrawf ysbrydol, yr hwn os gwneir sylw manwl, gydag astudrwydd, a'i ganlyn gan ei feddiannydd, a dystiolaetha iddo ef, ac a wna, fel pe byddai, neidio yn mlaen gydag ias wresog o lawenydd a chydymdeimlad, i bob ysbryd gwirioneddol y cyffyrdda ag ef; tra chyda braw o ffieiddiad, efe a adwaena gau-ysbryd i fod yn gelwyddog. Galwch hyn yn sugn-dyniad ysbrydol, neu y peth a fynoch; y mae felly, ac y mae yn gyfraith natur.

Yma y cynnwysir y dirgelwch o oruchwyliaeth dyn. Hyn yw yr achos fod dyn dan gondemniad am wrthod unrhyw wirionedd ysbrydol, neu am gofleidio unrhyw gyfeiliornad ysbrydol. Y mae gweithredoedd dyn yn ddrwg; y mae yn ddiofal o'i rybyddiwr; mae ei angel da, a'r ysbryd daionus oddi fewn, yn cael eu tristâu; ac ar ol amryw rybyddion y rhai nid ystyrir, y maent yn ymadael, ac yn ei adael ef yn y tywyllwch; y mae efe yn caru ei eiddo; y mae yn ymlynu wrth gelwydd; y mae yn gwrthod y gwirionedd; mae tywyllwch yn cynnyddu yn barhaus; y byd, cnawd, ac ysbrydion drwg yn ei ddenu yn mlaen, hyd nes y byddo i angau osod terfyn ar yr olygfa, ac arwain ei ysbryd o sefyllfa egwyddorol dyn, i'r cylch nesaf, pan y bydd i'w ysbrydion drwg a'i gwmpeini ei amgylchynu mewn tywyllwch, ac aros

gydag ef; y mae pob un yn rhoddi ei gyfran o'r tywyllwch, hyd nes y byddo cwmwl yn ymgymmysgu a chwmwl, yn gorchuddio y cwbl â thywyllwch anobeithiol, yn tywyllu y golwg, yn gwarafun y llygad i weled, y tafod i draethu, neu y pin i ddesgrifio.

Ar y llaw arall; y mae gweithredoedd dyn yn dda—megys ag y dywedodd yr ysgrythyrau, "Yr hwn sydd yn gwneuthur gwirionedd sydd yn dyfod i'r goleuni, fel yr eglurhaer ei weithredoedd ef, mai yn Nuw y gwnaed hwynt"—y mae efe yn ufyddhau i'w rybyddiwr yr hwn sydd ynddo; y mae efe yn groesawi ei fynwes â phob egwyddor wirioneddol a santaidd ag sydd o fewn ei gyrhaedd; mae yn eu gosod mewn ymarferiad, ac yn ceisio ychwaneg; mae ei feddwl yn ymeangu; y mae maes gwybodaeth yn ymagor o amgylch, uwchlaw, ac islaw iddo; a'r weledigaeth yn ymestyn helaethach helaethach; yr hyn a aeth heibio, sydd bresennol, ac sydd i ddyfod, yn ymagor i'w olwg; y ddaear, ynghyd â'i llwythau; y nefoedd, yn nghyd â'i phlanedau a'i gwybodaethau; a nefoedd y nefoedd, ynghyd â'i chylchynawg heuliau ysplenydd, a myrddiynau o angylion, a meibion Duw, yn ymheulio yn mhelydrau haul o wybodaeth bur a ffrydiau o gariad a goleuni; a phob un yn ychwanegu ato ac yn ymgymmysgu yn ngoleuni y naill y llall, nes y byddont yn goleuo yr holl fydyssawd dirfawr, yn ysbrydol ac yn naturiol; ac y mae'r weledigaeth yn colli ei hun yn ei gwir ddirfawredd ar gyffiniau ei hanfeidroldeb ei hun.

Bydded i ddyn edrych yn ol ar y rhan a aeth heibio o'i fywyd, ac adolygu yn ofalus a manwl—chwilio dyddiau diniweidrwydd ei fabandod, ei ddynesiad cyntaf i demtasiwn, anfoesoldeb, neu drosedd. Onid yw yn cofio iddo deimlo rhyw losgfa anhyfryd yn ei fynwes, a diflasdod, a gwythi a gewynau crynedig, a phetrusder; yn fyr, rhywbeth yn anghymmeradwy yn y weithred ag oedd yn fwriadu ei chyflawni? Ac os byddai iddo o hyd barhau, onid oedd y llosgfa a'r teimlad anesmwyth hyn yn cynnyddu nes braidd achosi twymyn.

Wel, ddarllenydd, hwn oedd eich rhybyddiwr—sef Ysbryd Duw yr hwn oedd o'ch mewn chwi. A phe buasech chwi yn g randaw arno, efe a'ch cadwasai rhag pob trosedd a themtasiwn.

Ar y llaw arall, onid ydych yn cofio, lawer gwaith yn yspaid eich bywyd, ryw dân, a rhyw iâs wresog o lawenydd, a phoethder hyfryd, neu deimlad o oleuni pur a phleser yn eich mynwes, yn

cymmeradwyo gweithred dda, neu yn eich cynnorthwyo i wneuthur yr un peth? yn fyr, teimlad o bur ewyllys dda, a chydymdeimlad caruaidd a chariad annherfynol tuag at bob dyn? a phurdeb calon a meddwl, fel pe byddech yn dymuno gwneuthur daioni yn wastadol, a pheidio pechu byth? Y rhai hyn oeddynt gymhellion gwreichionen fywiog o ddwyfoldeb o'ch mewn. Hwynt-hwy oeddynt addysgiadau, cynhyrfiadau, a sibrwdiadau y goleuni hwnw, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn a'r sydd yn dyfod i'r byd. Y mae yn felusach nâ'r mel; yn fwy cynghaneddol nâ pheroriaeth; yn fwy pur na diferion o wlith ar rosynau Paradwys; yn dynerach na chanwyll dy lygaid; ac yn fwy gwerthfawr nag aur Australia. Gwynfydedig yw y rhai hyny ag sydd yn ei fagu a'i feithrin yn eu mynwesau, ac yn ei ddwyn allan yn eu bywyd; oblegid y mae yn darddiad allan o ffynnon bywyd tragywyddol; a'r cyfryw ag sydd yn canlyn i fyny o'r lle y mae yn dyfod, a ddeuant at y ffynnon hyny, mor sicr ag y gwna pelydr yr haul arwain i fyny i ganolbarth goleuni.

(*I'w barhau.*)

---

## COFNODION CYNGHOR CYFFREDINOL NEILLDUOL YR EGLWYS YN NGHYMRU,

*A gynnaliwyd yn Merthyr, Hydref* 4, 1852.

Agorwyd trwy weddi am hanner awr wedi deg yn y boreu, gan y Llywydd W. S. Phillips. Yna cynnygodd y Llywydd i R. Morris fod yn ysgrifenydd, ac eiliwyd gan y brawd Thos. Giles. Cariwyd. Yna canwyd yr Hymn 111, "Dy Ysbryd di, &c."

Anerchodd y Llywydd Phillips y Cynghor, gan ddywedyd, "Frodyr, y mae llawer o bethau genyf i'w dywedyd wrthych cyn ymadael heddyw. Un peth neillduol sydd genym i'w benderfynu mewn perthynas i'r Udgorn, o herwydd ei fod yn gyfrwng rhy fychan i gynnwys yr holl newyddion parhaus; ac y mae yn bwnc i ni ystyried, sef pa un ai ei gyhoeddi yn wythnosol, neu ynte ei helaethu. Y mae yn fendith fawr i bob cenedl i gael cyhoeddiad yn eu hiaith eu hunain, yr hyn sydd anhebgorol anghenrheidiol. Y mae y *Star* a'r Udgorn yn y dull y maent yn dyfod allan yn awr, yn dyfetha dylanwad eu gilydd, o herwydd fod yr un peth yn gynnwysedig yn y naill y llall. Mae esgeul-

usdod mawr yn mhlith y Saint, trwy beidio darllen yr UDGORN, ac y mae llawer o swyddogion yn ddrwg yn hyn, ac y mae anghen mawr am ddangos hyn i bawb, o herwydd fy mod yn wybodus am rai nad ydynt braidd un amser yn ei ddarllen. Ein dyledswydd tuag at y *Star* a'r UDGORN yw, wrth barchu un i beidio ag anmharchu'r llall; fel ag y mae llawer, wrth fod yn nghymdeithas swyddogion uchel yr Eglwys hon, megys apostolion, &c., yn barod i ddiystyru y rhai sydd yn îs mewn swyddi. Yr oeddwn yn meddwl yn y Gymmanfa ddoe, i ddysgu ar egwyddor neillduol iawn, sef ar ufydd-dod: nid yw yn ddichonadwy fod gormod o hyn; o gariad y mae ufyddhau, ac nid o ofn y rhai a lywydda arnynt. Ni fu yr Eglwys yn Nghymru erioed mor ufydd ag yw yn bresennol, ac y mae yn dda genyf am hyn." Dangosodd pe bai Llywydd Cynnadledd yn rhoddi cynghor mewn Cymmanfa neu ryw fan arall, a Llywydd Cangen yn rhoddi cynghor yn groes iddo, mai i'r awdurdodau uchaf y mae ufyddhau bob amser; a phe dygwyddai fod rhyw fwstwr ynghylch hyny drachefn, eglurodd y dull o weithredu yn iawn. Ni ddylid rhedeg at Lywydd y Gynnadledd yn gyntaf, ond siarad yn gariadus â Llywydd y Gangen, a dweyd wrtho fod y peth a ddysgodd yn groes i'r hyn a ddysgodd Llywydd y Gynnadledd; ac yna yn ddiau, fe ddiolcha y person hwnw i'r cyfryw un a wna weithredu felly; yna bydd mwy o gariad yn cynnyddu rhyngddynt. Yna darluniodd y perygl, o'r ochr arall, o weithredu yn wahanol i hyn. Dywedodd,—" Frodyr, gofalwch fod yr egwyddor hon yn cael ei dysgu yn eich cynnadleddau i'r brodyr a'r chwiorydd, o herwydd fod hon yn un neillduol, ac fod yn ammhosibl dyfod i undeb y ffydd hebddi. Ac os cymmer y fath beth a hyn le, mae yn anghenrheidiol i'r cyfryw un dynu y fath ddysgeidiaeth yn ol, a hyny yn gyhoeddus, os bydd perygl yn y peth; ni achosa hyn ddim niwed ar ddylanwad da y cyfryw; byddai yn dda i bawb ufyddhau ar y pryd i'r cyfryw beth, oddieithr ei fod yn beryglus iawn, ond iddynt fod yn benderfynol i'w argyhoeddi ar ddiwedd y cynghor. Ond ni ddylai neb ufyddhau os bydd y cyfryw ddysgeidiaeth neu gynghor, yn wahanol i'r awdurdodau a'r dadguddiadau. Os dygwydd i mi ddysgu rhyw beth yn groes i'r hyn sydd yn y *Star*, neu ryw fan arall gan awdurdodau yr Eglwys hon, y cyfryw a ddangoso hyny i mi, O mor ddiolchgar y byddaf iddo; ni ddylai fod ofn ar neb i weithredu yn y dull

hwn; ac nid gwrthryfel â'r offeiriadaeth yw hyn, ond rheol iawn ydyw. Peidied neb ag ysgrifenu neu ddweyd wrthyf fi, os bydd Llywydd Cynnadledd yn dygwydd dweyd rhywbeth allan o le, ond siarad ag ef yn gyntaf yn unol â'r rheol a nodais yn barod. Ac os bydd Llywydd y Gynnadledd hono yn parhau i wrthwynebu, yna apelier yn uwch; y mae hyn yn anghenrheidiol yn mhlith y Saint. Peidied neb a digio os bydd rhyw frawd yn gwrthod cymmeryd ei argyhoeddi. Yr wyf fi yn gofyn ufydd-dod hyd at——. At beth? Dyna'r pwnc. Wel, meddai Llywydd y Gangen, dacw ddyn, lladdwch ef—dacw siop, ewch i ladrata—dacw ferch, godinebwch â hi. Y mae pethau fel hyn yn neillduol iawn, ac ni ddylai neb eu gweithredu, o herwydd eu bod yn groes i ddadguddiadau Duw yn yr oes hon; ond y mae rhai a chymmaint o sêl ganddynt, pe bai eu Llywydd yn dweyd wrthynt am ladd, lladrata, meddwi, neu odinebu, ag y gwnaent hyny yn union. Ond ni ddylai hyny fod, y maent y groes i'r awdurdodau, a'r epistolau hefyd; canys yr ydym yn cael cynghorion yn barhaus gan yr awdurdodau a'r apostolion am edrych i'r Ath. a'r Cyf., ac i weithredu yn unol â'r cyfryw; os bydd rhywbeth heb fod yn y llyfr hwnw neu lyfr arall, gofynwch ofyniad. Un peth arall, o herwydd ein bod yn gyfryw rai yn yr un deyrnas, ac yn agored i ffaeleddau, os bydd ffaeledd yn perthyn i mi, yr wyf yn gobeithio na fydd neb yn cymmeryd hyny yn esiampl; ac ni ddylai neb ddilyn esiampl eu Llywyddion mewn un dull drwg, ond yn unig rhoi esiamplau ag a ddylai pawb eu dilyn. Nid oes neb yn berffaith yn yr Eglwys hon; o ganlyniad mae eisieu edrych lle y byddwn yn gosod ein traed i lawr.

Yna canwyd, "Hoff yw trigo gyda'r Saint, &c."

(*I'w barhau.*)

---

## BENDITHIO.

Anwyl Frawd Phillips,—Carwn gael eglurhad ar un pwnc, os gwelwch fod yn dda, trwy gyfrwng yr Udgorn. A ydyw yn iawn i'r Saint geisio gan ryw frawd dyeithr, megys Llywydd Cynnadledd, i'w bendithio hwy, &c? Bydd hyn yn foddlonrwydd mawr i lawer heblaw fy hunan. Clywed siarad a ddarfu i mi yn mhlith y Saint a'r swyddwyr, a hyny a achosodd i mi ofyn y cwestiwn.

R. V, M,

Mor belled ag yr wyf fi yn deall mewn perthynas i fendithio y Saint, swydd y Patriarch ydyw hyny, ac y mae wedi ei roddi yn ganiatâd i'r Deuddeg, ac i bersonau neillduol ereill ag sydd yn llywyddu ar wahanol genedlaethau. Mae y Llywydd Orson Pratt wedi ysgrifenu yn y *Star*, ac wedi dweyd fel y canlyn:—"Pan y daethym i'r wlad hon gyntaf, gwelais arferiad yn mhlith y Saint ag oedd yn hollol gyfeiliornus, sef gosod dwylaw arnynt i'w bendithio." Ni ddylai hyn fod, ond pan fyddo gwir anghen, oddieithr ar bersonau a fyddont wedi eu neillduo ar ryw genadiaeth. Gwelais y brawd Pratt fy hun yn gwrthod bendithio llywyddion cynnadleddau. Nid oedd y Llywydd F. D. Richards ychwaith yn foddlawn i weinyddu yr ordinhad hon, ond pan fyddai gwir anghen. Eithr yr oedd y Llywydd Taylor yn lled rydd ar y pen hwn; ond nid oedd hyny yn rhoddi hawl i neb arall. Bu Lorenzo Snow yma, a gwrthododd weinyddu ar neb. Yr wyf yn gorchymyn i'r Saint i ymddiried yn Llywydd eu Cynnadledd, ac i gydnabod fod ganddo ef fwy o fendithion iddynt hwy na neb arall, oddieithr y rhai fydd yn llywyddu arno yntau. Pe deuai dyn o'r nefoedd, ni chredwn i fod ganddo fwy o fendithion i'r Eglwys yn Nghymru, na'r hwn a fyddo wedi ei apwyntio, oddieithr ei fod yn llywyddu arno.

W. S. PHILLIPS.

---

## CYSGU MEWN ADDOLIAD.

LLWYR farwaidd hyll arferiad,—cas gam yw,
Cysgu mewn addoliad;
I'n Duw, gwell rhoi gwrandawiad—
Ei 'wyllys Ef yw'n llesâd.

Yn mhob parth mae'n warth i neb—ei hun roi
Yn nrws tragwyddoldeb;
Ynfyd yw hyn hefyd, heb
Wylder, ond rhith duwioldeb.

Ow! pur gaeth yw pregethu—yn ddoniol
I ddynion fo'n cysgu;
Ni ddewisant nawdd Iesu,—
Hyn sy'n lladd ei weis yn llu.

Gwareder llesgwyr adwyth—a gysgant,
A gwasgiad anesmwyth,
Er eu deffro, rai diffrwyth,
Heddyw'n ffres i ddwyn ffrwyth.

*Nantygwenith, Merthyr.* W. R. ABRAHAM.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Bydded eich gweddiau mor aml â'ch anghenion, a'ch diolchau mor aml â'ch bendithion.

Na lefarwch yn dda am neb yn anhaeddiannol,—nid yw hyny ond gweniaith gwael; na lefarwch yn dda am danoch eich hunain, pa mor deilwng bynag y byddoch, rhag i chwi gael eich temtio i wag-ogoniant; ond bydded cydwybod dda yn fwy gwerthfawr yn eich golwg nâ'r ganmoliaeth oreu.

I FENYWOD Y TREWLWCH.

Och, drewlwch! hwdwch od yw,—ac hollol
Ddrwg hyllig i fenyw;
Arogl ei ffroen sydd boen i'r byw,
Drewedig o draw ydyw.

Ei fod yn syndod sydd,—am y difa
Fwyn dyfiad;—mae'n g'wilydd
I fod rhianod yn rhydd
Heb anair am hwn beunydd.

*Cap Coch.* J. P. Prosser.

---

Taliadau o Hydref 1 hyd Hydref 14.—Sir Fynwy, £22; Penfro Ogleddol, £1; Sir Feirionydd, £3 1s; Dinas, £1 1s 1½c; Llanilltyd, 10s; Llanfabon, 9s; Cwmbach, £1 3s; Pendulwyn, 8s 6c; Twynyrodyn, 15s 3c; Llandaf, 4s; Eglwysnewydd, 9s; Cowbridge, 6s; Caerdyf, £1; Aberdar, 10s; Aberamman, £1 10s; Hirwaen, 3s 3c; Cwmnedd, 7s 6½c; Rymni, £1 0s 6c; Georgetown, 9s; Merthyr, 19s; Pendaren, 7s 1c; Gwernllwyn, £1 13s 2c. —Cyfanswm, £39 6s 5c.

☞ Dymuna y Llywydd Simms, o Gynnadledd Sir Fôn, hysbysu fod Hugh Jones, gwerthwr *varnish*, &c., wedi ei dori allan o'r Eglwys, ynghyd â'i wraig.

☞ Dymunwn hysbysu ein darllenwyr fod y Perl o Fawr Bris yn barod, gwerth 1s 2c., a'i fod erbyn hyn yn nwylaw llawer o'r Saint. Gwelir ei fod yn cynnwys mwy nâ'r argraffiad Seisnig, ac am yn agos yr un bris. Nid ym yn meddwl y bydd neb o'r Saint heb ei feddiannu.

Llyfr Mormon.—Mae digonedd o'r llyfr gwerthfawr hwn yn awr wedi eu rhwymo mewn croen hardd, ac ymyl y dail wedi eu goreuro, a'r rhwymiad wedi ei wneuthur yn Nghymru.

☞ Dymunwn ar ein brodyr awenyddol, os ydynt am i ni gael gweled eu Hymnau, eu danfon yma yn ddioed, onide dichon yr edifarhant, pan y bydd yn rhy hwyr.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 22.] HYDREF 30, 1852. [CYF. IV.

### CYHOEDDIAD!

**AT BOBL CYFFINIAU AC YNYSOEDD Y MOR TAWEL, O BOB CENEDL, LLWYTH, AC IAITH.**

GAN PARLEY P. PRATT,

*Apostol Iesu Grist.*

*(O'r Argraffiad Awstraliaidd, gan yr Hen. C. W. Wandell.)*

(Parhad o dud. 336.)

AR GYFREITHIAU A LLYWODRAETHAU.

WEDI dwyn ein tystiolaeth, fel gwir a ffyddlawn dyst o'r Efengyl, ac o'r pethau a aethant heibio, sydd yn bresennol, ac sydd i ddyfod, yn awr ni a roddwn ryw addysg ynghylch cyfreithiau a llywodraethau dynion, a'r dyledswyddau ag ym ni yn ddyledus iddynt, a'n dyledswyddau i'w dal i fyny, fel aelodau o Eglwys Iesu Grist trwy yr holl fyd.

Pob llywodraeth ddynol a ganiatêir gan yr Arglwydd, ac y mae yn anghenrheidiol, hyd oni theyrnaso yr Hwn sydd â hawl i deyrnasu, ac hyd oni ddarostyngo efe ei holl elynion dan ei draed.

Nid ydym ni wedi ein danfon i chwyldroi y byd mewn ystyr gwladwriaethol; ond i rybyddio y byd o ddynesiad dygwyddiadau, dysgu yr anwybodus, a galw pechaduriaid i edifeirwch.

Cyfreithiau pob gwlad fydd ein cyfreithiau ni, yn ystyr gwladol a llywodraethol y gair.

Yr ydym ni yn rhwym mewn dyledswydd i ufyddhau i ustus

iaid, barnwyr, rheolwyr, llywodraethwyr, a breninoedd, y rhai sydd â'r rheol lywodraethol yn yr amrywiol wledydd lle yr ydym yn byw, yn ymdeithio, neu yn preswylio.

Os gwna ysbryd y sefydliadau Ewropaidd ac Americanaidd diweddar, mewn perthynas i ryddid cydwybod, a rhyddid mewn cwsmeriaeth, meddwl, a llefariad, fyned yn mlaen o fuddugoliaeth i fuddugoliaeth, ac felly agor y ffordd i'r holl genedloedd i wasgaru eu goleuni, a chylch-gyfnewid eu gwybodaeth; yna gadewch i ni ymlawenhau yn yr unrhyw, a defnyddio y cyfleusdra o fynegi tystiolaeth yr Iesu, a chyhoeddi Efengyl yr iachawdwriaeth, y newyddion da o fywyd tragywyddol, lle bynag y mae troed dyn wedi gwneyd argraff—lle bynag y mae tristwch, a dagrau, a galar, ac angeu, wedi bwrw eu hanobeithiol gysgodau.

Os gwna y cynnydd parhaus yn ngwelliant morwriaeth agerawl, a throsglwyddiad cledr-ffyrdd, a chylafaredd gwefrawl, ddilyn yn gyffredinol ar lwybr buddugoliaethau rhyddid,—yna, chwi Saint y Goruchaf! chwi Henuriaid ac Apostolion Israel,

Eheded eich meddwl ar gerbyd melltenawl,
Fel chwimwth oleuni i'r pellder pegynawl;
Esgynwch y càr a'r march tanllyd carlamog
A blaenwch y gwynt, y mae'n ddiflin ardderchog.

O'ch ol draw yn germain bo'r dirwyllt aderyn,
A'r corwynt fo'n methu ehedeg i'ch canlyn;
Holl leoedd tywyllion y ddaear, O chwiliwch;
A chrochlef y daran y newydd da traethwch.

Cyhoeddwch dysclaeriach dydd etto i lewyrchu,
Bydd Brenin breninoedd trwy'r byd yn teyrnasu,
Ac erchwch i boen, loes, a blinder i gilio,
A gofid a thrallod yn fuan i beidio.

Agorwch y ffordd i Dywysog tangnefedd,
Gorchfyga farwolaeth mewn gallu a mawredd;
Gorch'mynwch i dristwch i ffoi o'r trigfanau,
Rhowch Jubili ddedwydd i'r holl genedlaethau.

Cyf. Dewi Elfed.

Pan fyddoch yn teithio oddiwrth un genedl at genedl arall, chwi a gewch allan fod eu cyfreithiau, eu crefyddau, eu hordinhadau, eu seremoniau, eu sefydliadau, trefniadau teuluaidd, priodasau, &c., mewn anghydfod mawr, ac mewn amrafael â'u gilydd, ac â chyfraith Duw.

Ond, cofiwch mai commissiwn cyffredinol yw yr eiddoch chwi, o dangnefedd ar y ddaear ac ewyllys da i ddyn.

Eich gwaith chwi yw cyhoeddi diwygiad cyffredinol ac edifeirwch. Danfonir chwi allan fel cenadon y Brenin—yr Arglwydd Iesu Grist, i orchymyn i bob person ag sydd wedi dyfod i oedran cyfrifoldeb, i edifarhau a chymmeryd ei fedyddio yn ei enw ef er maddeuant pechodau. Danfonir chwi allan i roddi dawn yr Ysbryd Glân, trwy osodiad dwylaw yn yr un enw santaidd.

Chwi a ddanfonir allan i ddwyn tystiolaeth o'r gwirionedd yn yr oruchwyliaeth hon, ac o Geidwad croeshoeliedig ac adgyfodedig. Chwi a ddanfonir allan i brophwydo, a rhybyddio y byd am bethau i ddyfod.

Chwi a ddanfonir allan i osod eich dwylaw ar blant bychain yr aelodau sydd yn yr Eglwys, a'u bendithio, gan gadarnhau arnynt eu henwau Cristionogol, fel aelodau ac etifeddion o gyfammod yr addewid.

Chwi a ddanfonir allan i fedyddio'r cenedloedd, ac felly i barotoi y ffordd erbyn dyfodiad Mab Duw. Chwi a ddanfonir allan i osod dwylaw ar y cleifion, y cloffion, y deillion, y byddariaid, a'r rhai cystuddiol o bob math, ag a gredant eich tystiolaeth chwi, ac a feddant ffydd i dderbyn iachâd; ïe, yn wir, i osod dwylaw arnynt, a'u heneinnio yn enw Iesu Grist, Mab Duw.

Chwi a ddanfonir allan i orchymyn i gythreuliaid, diafliaid, a phob ysbryd brwnt ac aflan o bob math, yn enw Iesu Grist, i ymadael o babellau y personau hyny a boenir ganddynt.

Chwi a ddanfonir allan i bregethu rhyddhad i'r caethion, i rwymo y rhai ysig eu calon, ac i gysuro yr holl rai sydd yn galaru, a chyhoeddi blwyddyn gymmeradwy yr Arglwydd, a dydd dïal ein Duw ni.

Nis danfonir chwi allan i ymhyraeth â phethau gwladol a llywodraethol, neu sefydliadau teuluaidd a sefydlwyd trwy gyfraith, ac a wnaed yn gyssegredig gan hynafiaeth, neu hir ymarferiad; oddieithr cyn belled ag y byddo y sefydliadau hyny yn cyffwrdd â chydwybod, ac â gorchymynion Iesu Grist. Pan ddygwyddo yr olaf, rhaid i chwi ufyddhau i Dduw yn hytrach nag i ddyn, a dyoddef y canlyniadau, neu ffoi i le arall.

P. P. PRATT,
Llywydd Cenadiaeth y Mor Tawel o Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.

(A gyfieithiwyd gan MORGAN JENKINS, Cefn.)

## COFNODION CYNGHOR CYFFREDINOL NEILLDUOL YR EGLWYS YN NGHYMRU,

*A gynnaliwyd yn Merthyr, Hydref* 4, 1852.

[Parhad o dud. 336.]

Yna galwodd y Llywydd ystyriaeth y cynghor at y pwnc, sef y Llyfrau. Dywedodd fod yn drueni na fyddai y Saint yr un mor ddiwyd gyda'r llyfrau, ag y maent gyda'r Drysorfa Ymfudol, ond y mae yn rhaid eu cael felly. Yr hyn a ddywedodd y Llywydd F. D. Richards wrthyf cyn cychwyn i ffwrdd, oedd hyn:—"Os bydd rhyw gangen neu gynnadledd yn gwrthod talu am eu llyfrau, na yrwch ddim rhagor atynt: dyna yr unig ffordd i'w dwyn hwy i'w synwyrau, ac i dreio os gallant fyw hebddynt." Yna crybwyllodd am y rheol a osodwyd mewn perthynas i'r Star a'r Udgorn—fod y Star yn 2½c. yr un unwaith, a bod y brodyr yn Lloegr ag oedd yn cymmeryd y Star, yn cymmeryd tair yn awr am 3c., sef dimai yn rhagor er cael tair. Etto, dywedodd ei fod yn penderfynu mynu cael clirio dyled y llyfrau cyn diwedd y flwyddyn hon. Y mae pregeth y Drysorfa Ymfudol wedi ei dysgu yn ddigon hir bellach, ac y mae wedi ei phlanu yn ddigon dwfn yn nghalonau y Saint, ac yn awr y llyfrau yw y prif beth. Nis gall un dyn lwyddo, os na fydd yn ymdrechu talu ei ddyled am lyfrau; canys eiddo yr Arglwydd ydynt, ac y mae'r Arglwydd yn gofyn ei dal am danynt. Hefyd, mae yn anghenrheidiol fod yr holl lywyddion yn edrych fod yr holl Saint yn feddiannol ar lyfrau yr eglwys. Mae hyn o bwys, oblegid y mae cyflawnder mawr o gyfrolau o Udgorn, Llyfr Mormon, Ath. a Chyf., &c., yn aros ar law; ac fe ddylai pawb brynu llyfrau i'w plant a'u perthynasau, oblegid bydd ymofyn am danynt etto; ïe, gallaf ddweyd y bydd ymofyn am danynt ar ol yr adgyfodiad, ac y bydd plant yn gofyn i'w rhieni am lyfrau, hyd y nod yr amser hwnw. Am hyny, dylai y cangenau a'r cynnadleddau sydd ag Udgorn, &c., yn sefyll ar law, wneyd i'r brodyr ag sydd yn cymmeryd un, i gymmeryd dau, a thri, o bob rhifyn. Mae llawer yn gofyn i'r brawd Richard Morris os oes dichon attal y Stars, &c., pan mewn gwirionedd y gallent basio cymmaint arall ag y maent yn gymmeryd yn awr, pe yr ewyllysient. Mae llawer ag sydd yn cymmeryd un, ag a allent gymmeryd tri; ac y mae'r rhai sydd yn cymmeryd tri, yn ddigon galluog i gymmeryd chwech. Wel,

dyma y ffordd i'w pasio, ynghyd â phob llyfrau ereill. Mae yr hen arferiad o werthu llyfrau i'r Saint yn blentynaidd iawn. Nid gofyn i un pa faint a fynwch chwi, ond dweyd, "Yn awr, frawd, yr ydych chwi yn alluog i gymmeryd hyn a hyn; dewch yn awr, cymmerwch hyn a hyn." Pe buaswn yn dysgu fel hyn dair neu bedair blynedd yn ol, buasech yn ffoi am y cyntaf trwy y drws yna allan. Wel, mae perygl o fyned i eithafion ar bob egwyddor. Mae llawer yn dweyd na allant gymmeryd dim un Star yn eu cangen, pan y gallant gymmeryd dwsin.

Cynnygiodd y Llywydd Phillips, ac eiliwyd gan y Llywydd Pugh, fod i bob llywydd cynnadledd i dalu ei ddyled am lyfrau cyn diwedd y flwyddyn hon. Cariwyd trwy ddyrchafiad dwylaw.

Yna llefarodd y Llywydd Pugh, fel y canlyn:—"Frodyr, yr wyf yn teimlo yn llawen iawn yma, a bod yr hyn ag y mae y Llywydd Phillips wedi ei ddweyd yn lles i ni oll, ac nad yw y deyrnas hon yn gynnwysedig mewn gweddi yn unig, eithr mewn gweithredu yn unol â'r cynghorion a roddir. Dangosodd y modd i'r Saint dderbyn maeth a nerth, sef trwy fod llywyddion cynnadleddau i ddweyd wrth lywyddion cangenau, a hwythau wrth lywyddion dosparthiadau, a hwythau wrth y Saint; yna bydd pob peth yn cael ei gario yn mlaen yn drefnus; ac ni ddylai fod ofn ar y swyddogion i gario yn mlaen y cynghorion. Pa fwyaf a wnelo dyn yn yr Eglwys hon, mwyaf yn y byd fydd ei wobr a'i ogoniant. A chyda golwg ar gymmeryd dau neu dri Udgorn bob tro, nid ydyw hyny ddim gormod, ac y mae yn anghenrheidiol. Hefyd, mae yn anghenrheidiol arnom i edrych ar ol dosparthwyr llyfrau, fel na fyddont yn danfon llyfrau i'r rhai hyny fydd yn gwrthod talu; ac o hyn allan yr wyf yn penderfynu na fydd i un gangen yn y gynnadledd yma, gael dim llyfrau os na fyddant yn talu am danynt, a bydd raid i'r dosparthwr fod yn gyfrifol, os gâd ef i ryw rai gael llyfrau heb dâl.

Cynnygiodd y Llywydd Phillips ,ac eiliwyd gan Llywydd Davis, fod y brawd Dewi Elfed Jones i ddyfod at y brodyr Davis a Morris i ddysgu y ffordd i gadw cyfrifon y llyfrau, fel y gallo ef ddangos hyny i'r cynnadleddau a'r cangenau hyny lle y byddo yn myned. Cariwyd.

Cododd holl lywyddion y cynnadleddau i fyny i ddweyd eu teimladau mewn perthynas i'r Udgorn, ac yr oedd yr holl o honynt am ei gael allan yn wythnosol.

Cododd y Llywydd Phillips, a dywedodd, os mae fel hyny y mae i fod, y bydd yn ofynol cael rhagor o ffydd. Dywedodd fod ei deimlad yntau dros ei gael allan yn wythnosol; ac os bydd i'w gylchrediad fod yn fwy, gellir mwyhau ei gynnwysiad.

Yna cynnygiodd y Llywydd Phillips, ac eiliwyd gan y Llywydd Pugh, fod i'r Udgorn ddyfod allan bob wythnos o ddechreu y flwyddyn nesaf. Cariwyd.

Yna llefarodd y Llywydd Davis, a dywedodd ei fod yn foddlawn mynu cael yr Udgorn allan bob wythnos, a hyny yn ei amser, er gwaethaf pob peth, fel ag y mae wedi wneuthur hyd yn hyn; a dymunodd arnynt i feddiannu ffydd i'w werthu; hefyd, yr oedd yn dda ganddo weled penderfyniad y cynghor i dalu dyled y llyfrau. Bydd hyny o fendith fawr i'r Eglwys, ac yn foddhaol iawn iddo ef a'r Llywyddion Phillips a Pugh, am y bydd yn llawer gwell ganddynt i dalu aur pur i'r Eglwys, wrth settlo cyfrifon ar ddiwedd y flwyddyn, na chyflwyno dyled yn eu lle. Dangosodd mai eisieu ffydd sydd er gwerthu llyfrau, fel ynghylch pob peth arall. Dywedodd fod llawer iawn o Lyfrau Mormon, Ath. a Chyf., ar law ganddo ef, o eiddo yr Eglwys, ac eisieu eu gwerthu, fel y gallom wneyd lles iddi. O ganlyniad nid yw wahaniaeth i bwy y gwerthir hwy, ond iddynt dalu am danynt, ac nid yw wahaniaeth pe baent yn eu llosgi wedi eu prynu, ond gwell fyddai ganddo ef fod pob un yn cael lles, goleuni, ac iachawdwriaeth trwyddynt. Dywedodd mai cangen Hirwaen oedd yr unig un ag oedd wedi clirio ei dyled cyn bod y *balance sheet* wedi ei thynu, a dangosodd mai dyna fel dylai pob cangen fod wedi gwneyd. Terfynodd trwy ddymuno bendith Duw ar bawb yn bresennol. Amen.

Cynnygiodd y Llywydd Phillips, ac eiliwyd gan y Llywydd Pugh, fod pob cangen o hyn allan i gael tair *cypher* gyferbyn â'u henwau fel cangen Hirwaen. Dymunodd ar y Llywyddion oll am edrych cynted ag y dychwelent i'w cynnadleddau pa faint o lyfrau fydd ar law gan y dosparthwyr, a mynu gweled eu bod yn cael eu gwerthu. Bydd hyn yn ysgafnhad mawr i'r Dosparthwyr. Hefyd, mewn perthynas â'r adduned a wnaed yn Liverpool i gymmeryd cant o Lyfr Mormon o bob iaith, dywedodd wrth y llywyddion am beidio a synu pe gwelent y llyfrau hyn yn dyfod iddynt heb eu gorchymyn; ond bydded iddynt feddiannu ffydd i'w gwerthu yn union i'r cangenau. Hefyd dywedodd am i bawb

ddeall nad ydyw un llywydd cynnadledd, nac henuriad teithiol, i gael ymfudo ar gost y Drysorfa Ymfudol, ond fod pob cynnadledd i wneuthur cymmaint â hyny iddynt: ac os bydd rhyw rai yn eich cynnadleddau yn feddiannol ar arian, ac yn foddlawn rhoddi tuag at eich cynnorthwyo chwi, bydded i chwi hysbysu hyny i mi, fel y gallaf roddi cyfarwyddyd yn y mater. Ac o hyn allan nid oes dim benthycia, a thrafferthu i roddi *receipts*, a gwneyd cytundeb, &c., ynghylch yr amser i dalu yn ol. A'r rhai sydd yn caru rhoddi, bydded iddynt roddi, a pheidio eu dysgwyl yn ol.

Anerchodd y Brawd Shurtleff (o'r Dyffryn) y cynghor yn fyr yn Saesneg. Dywedodd fod yn dda ganddo weled y fath ddylanwad da yn ein mysg, a deall ein bod ni wedi bod yn trefnu rhyw gynllun mewn perthynas i'r Udgorn; dywedodd ei fod yntau yn teimlo yr un fath a ninnau, y bydd yn llawer gwell cael pryd bob wythnos, yn lle pob pythefnos. Bydd yn fwy o les i ni, a byddwn yn teimlo yn fwy gwresog wrth ddarllen yr Udgorn, ac erbyn ein bod ni yn gorphen darllen un, y mae un arall i'w gael yn union, a thrwy hyn byddwn yn cael ein cadw yn wresog o hyd. Dywedodd fod pawb o honom i gael ein treio a'n profi fel Abraham gynt; o ganlyniad ni ddylai neb fod â gormod o'i fryd ar ddim sydd yn y byd hwn, onide mai yn lled debyg y bydd i ni fethu a dyoddef y prawf. Dywedodd ei fod yn gwybod am rai ag sydd wedi bod â'u holl fryd ar eu pethau tymmorol, ac yn edrych ar frawd neu chwaer mewn eisieu, a thrwy hyny yn gorfod dyoddef am hyny. Dywedodd ychydig mewn perthynas i lywodraethu, ac ynghylch ufydd-dod gwraig i'w gwr; ac nid oes eisieu llywodraethu y rhai hyny sydd yn cadw gorchymynion Duw, o herwydd mae y cyfryw yn llywodraethu eu hunain. Cynghorodd bawb i dreio deall pob peth, heb fyned i'r profiad eu hunain; a phawb na allant heb hyny, mae yn rhaid eu rhoddi hwy yn yr *harness*, i ddysgu trwy brofiad; a phawb na fydd yn foddlawn, mae yn rhaid eu llywodraethu hwy, &c.

Cododd y Llywydd Phillips, a dywedodd fod yr amser wedi myned, a'i bod yn bryd diweddu, a dywedodd ei fod yn lled diolchgar i bawb am eu caredigrwydd a'u hymddygiad daionus.

Canwyd amryw ganeuon gan y Brawd Thomas Edwards, ac yna terfynwyd trwy weddi gan y Llywydd Davis.

W. S. Phillips, *Llywydd*,
Richard Morris, *Ysgrifenydd*.

## NODIADAU W. GIBSON AR LYFR MORMON.

[Parhad o dud. 320.]

Troaf yn awr at yr athrawiaethau a ddysgir yn Llyfr Mormon, ac edrychaf ar rai o'r gwrthddadleuon a gyfodwyd yn eu herbyn. Y Parch. Alex. Campbell, yn ei "Ddadglymiad o Dystiolaethau Llyfr Mormon," tud. 14, a ddywed, "Smith, ei wir awdwr, y dyhiryn mwyaf haerllug ac annoeth a ysgrifenodd lyfr erioed, a ddadguddia ei ewin fforchog trwy sefydlu ei holl lyfr ar sylfaengau, neu ffaith haeriedig, yr hon a wna Duw yn gelwyddog;" a hyn ydyw:—"Duw a wnaeth gyfammod â'r Iuddewon ar Fynydd Sinai, ac a sefydlodd offeiriadaeth ac archoffeiriadaeth; yr offeiriadaeth a roddodd i Lefi, a'r archoffeiriadaeth i Aaron a'i feibion, yn offeiriadaeth dragywyddol; yna, medd Duw, Moses a bennoda Aaron a'i feibion, i wylied ar eu swydd offeiriadol, a'r dyeithr-ddyn (sef un o lwyth arall) yr hwn a ddaw yn agos, a roddir i farwolaeth (Numeri iii, 10). Yn y 18fed ben. o Numeri, y Lefiaid drachefn a roddir i Aaron a'i feibion, a'r offeiriadaeth a gadarnhawyd iddynt hwy gyda hyn o fygythiad, 'Y dyeithr-ddyn a a ddaw yn agos, a roddir i farwolaeth.'Ië, Iesu hefyd, medd Paul, pe bae ar y ddaear, nis gallai fod yn offeiriad, oblegid ei fod o lwyth am yr hwn ni ddywedodd Moses ddim ynghylch offeiriadaeth (Heb. vii. 13). Felly, mor ddi-alw-yn ol oedd caniatâd yr offeiriadaeth i Lefi, a'r archoffeiriadaeth i Aaron, fel nad oedd i ddyeithr fentro nesâu at allor Duw, yr hon a sicrhaodd Moses. Felly, Iesu ei hun a gauwyd allan rhag gweinyddu fel offeiriad ar y ddaear, yn ol y cyfreithiau. Joseph Smith, yn ei ddichell haerllug, a edrychodd dros ben hyn, gan wneyd i'w arwr, Lehi, i darddu o lwyth Joseph, ac mor gynted ag y dychwelodd ei feibion gyda phlyg o'i achau, yn yr hwn yr eglurid ei fod o lwyth Joseph, efe a'i feibion yn gymmeradwyol a offrymasant aberth a phoeth-offrymau i'r Arglwydd.'

"Adeiladasant Deml yn y Byd Newydd, ac yn mhen 55 o flynyddau wedi iddynt ymadael o Jerusalem, gwnaethant offeiriadaeth yr hon a gymmeradwya Duw. Archoffeiriad hefyd a ordeinir; ac etto y maent yn dysgu cyfraith Moses, ac yn cymhell y bobl i'w chadw (tud. 146, 209). Felly yr arddangosir Duw megys yn sefydlu, cymmeradwyo, a bendithio offeiriadaeth newydd o lwyth Joseph, am yr hwn lwyth ni roddodd Moses orchymyn perthynol i

offeiriadaeth. Er fod Duw yn bwgwth yn nghyfraith Moses, os byddi un dyn, heb fod o lwyth a theulu Lefi, ac Aaron, yn nesâu at swydd offeiriad, y byddai yn sicr o farw; etto mae yn cael ei osod allan gan Smith, fel yn bendithio, cymmeradwyo, a dal i fyny deulu arall yn y swydd briodol hon. Gan hyny, rhaid fod naill ai Duw Abraham, neu Dduw Joseph Smith yn gelwyddog; a phwy a oeda gyhoeddi hwn yn dwyllwr! a'r celwydd hwn a reda trwy ei gof-ysgrif am y chwech can mlynedd cyntaf o'i hanes."

Y mae yn wir ryfeddol i weled annealltwriaeth Mr. Campbell, mewn perthynas i'r hyn a goffêir yn y Beibl, ac yntau ar yr un pryd yn flaenor ar gymdeithas grefyddol. Y mae yn dechreu trwy ddywedyd i ni fod Llyfr Mormon wedi ei sefydlu ar ffaith anwireddus: y gwr doeth a ddywed nad oes dim newydd dan haul; ond yr wyf yn tybied, pan gafodd Mr. Campbell allan ffaith anwireddus, iddo gael rhywbeth na freuddwydiodd y gwr doeth erioed am dano; am hyny, fe all yn gyfiawn hawlio y dadguddiad o hono, os nad bod yn awdwr a gwir berchenog y cyfryw ar yr un pryd; oddieithr, yn wir, ei fod yn gyffyr anghenrheidiol yn ei olygiadau crefyddol; yn yr achos yna, y mae ganddo ereill i gyfranogi o'i anrhydedd gydag ef.

A pha beth yw y ffaith anwireddus hon? eglur mai hyn ydyw; y mae yn dywedyd i Dduw roddi yr offeiriadaeth i Lefi ac Aaron yn offeiriadaeth dragywyddol, ac mor ddi-alw-yn-ol oedd caniatâd yr offeiriadaeth hon, pe bae neb dyeithr o deulu arall, yr hwn a fentrai offrymu aberth, y byddai iddo farw. Yna Crist ei hun a gauwyd allan rhag gweinyddu megys offeiriad ar y ddaear, yn ol y gyfraith, ac, o ganlyniad, pe bae i Dduw gymmeradwyo aberth un o dŷ Joseph, pan fyddai ef yn gweinyddu fel offeiriad, megys y mae Llyfr Mormon yn dweyd, fe wnai Dduw yn gelwyddog.

Ac felly cafodd Mr. Campbell allan na allasai Crist fod yn offeiriad ar y ddaear, ac etto yn yr un bennod (Heb. vii, 15), y dywedir ei fod yn offeiriad yn dragywyddol yn ol urdd Melchisedec; felly, gan hyny, yr oedd efe yn offeiriad ar y ddaear, ond yn ol urdd wahanol i eiddo Aaron, a pheth yw y gwahaniaeth rhwng y ddwy offeiriadaeth yna? Offeiriadaeth Lefi ac Aaron a berthyna i lwyth a thylwyth neillduol, yr hwn a hawlia yr offeiriadaeth hon trwy ddisgyniad o dad a mam; ond am yr offeiriadaeth a gafodd Crist, mae Paul yn dweyd i ni yn Heb. (vii, 3), nad

yw yn dyfod trwy ddisgyniad, oblegid mae heb ddisgyniad, ac heb gyfeiriad at dad a mam: gan hyny, er i Grist darddu o Judah, i'r hwn lwyth ni addawodd Moses un offeiriadaeth, etto wedi'r cwbl yr oedd efe yn offeiriad, ond o urdd arall a mwy dyrchafedig nag un Aaron, sef urdd Melchisedec.

Ac a wnelai hyny Dduw yn gelwyddog, pe bae yn cymmeradwyo offeiriadaeth un a berthynai i lwyth Joseph? Mr. Campbell a ddywed felly; ond gadewch i ni edrych beth a ddywed y Beibl yn Barn. (vi, 11); yno ni a gawn i angel ddyfod yn genad at Gideon; ond pwy yw Gideon? Pa beth a ddywed yr angel wrtho am wneuthur? Yn y 15fed adnod cawn ei fod yn perthyn i deulu tlawd yn Manesseh, ac o'r 25ain i'r 28ain adnod, fe ddywedir i ni iddo gael gorchymyn gan Dduw i adeiladu allor, ac offrymu "poeth-offrwm, neu aberth i'r Arglwydd." Y fath drueni na buasai Mr. Campbell yno i osod yr Arglwydd yn gywir, a'i achub ef rhag gwneyd ei hun yn gelwyddog; oblegid chwi a wyddoch, Mr. Campbell, i fod hyn ar ol dyddiau Moses; ac ni roddodd efe un gorchymyn ynghylch offeiriadaeth i had Joseph, ydych yn ddywedyd; ac os oedd yn ol eich rhesymeg chwi, ei gymmeradwyaeth o offeiriadaeth neu dderbyniad o aberth a offrymid gan un o had Joseph yn America, naill ai yn profi Duw yn gelwyddog, neu Lyfr Mormon yn dwyll, am ei fod yn dweyd iddo wneuthur felly, oni wna yr un reol y tro i'w chyfeirio at y Beibl? gan hyny, Syr, wrth eich rheol chwi, yr ydych yn rhwym o wneuthur un o ddau beth, naill ai cyhoeddi Duw yn gelwyddog, neu y Beibl yn ffugchwedl.

Mr. Campbell a eilw Joseph Smith yn gelwyddwr anneallus a haerllug; ond yr wyf yn meddwl y gall y dyn a wnelo haeriadau megys uchod, gael ei adael i'w farnu gan bob dyn gonest, yr hwn nid yspeilia ef o'i iawnderau, ond a rodda iddo yr anrhydedd o'r teitlau a roddodd efe ar Joseph Smith.

Ond i ddangos yn hollol ei anwybodaeth yn y pwnc hwn, mi a ddyfynaf adnod neu ddwy.

Paul, yn Heb. v. 4, wrth ddweyd am yr Offeiriadaeth Aaronaidd, a ddywed, "Ac nid oes neb yn cymmeryd yr anrhydedd hon iddo ei hun, ond yr hwn a alwyd gan Dduw megys Aaron." Oddiwrth y gyfran yma y dysgwn yn gyntaf nad oes hawl gan neb roddi yr anrhydedd hon arno ei hun; ac yn ail, pe bae i Dduw alw rhyw un, megys y gwnaeth Aaron, sef trwy ddadgudd-

iad, fod ganddo berffaith hawl i'r hyn y galwodd Duw ef i gyflawni.

Duw a wnaeth gyfammod ag Aaron ac â llwyth Lefi, fel pe bae i ryw un allael profi ei darddiad o honynt hwy, y gallai hawlio yr Offeiriadaeth trwy ddisgyniad, ac nid oedd gan ddyeithr o lwyth arall un hawl i weinyddu mewn swydd offeiriad, oddieithr ei alw ef gan Dduw megys y galwyd Aaron; a phe bai i Dduw alw rhyw ddyn o lwyth Joseph, megys y gwnaeth â Gideon o Manasseh, neu Manoah o lwyth Dan (gwel Barnwyr xiii, 2, a 16), ac ereill yn nhir Canaan, neu Lehi a Nephi ar dir yr America, ni wnelai hyny Dduw yn gelwyddog, na chwaith y Beibl neu Lyfr Mormon yn gau.

Ar dud. 16eg o'i lyfr, Mr. Campbell a ddywed, y mae ganddo ef (Joseph Smith), fwy o Iuddewon yn byw yn y Byd Newydd na ellir eu cyfrif mewn un lle arall, hyd y nod yn nyddiau Ioan Fedyddiwr, ac a'u gosododd hwy dan freniniaeth newydd; y deyrnwialen gydag ef a ymadawodd o Judah, &c., a'r deddfwr oddirhwng ei draed ef, gannoedd o flynyddoedd cyn dyfodiad Shiloh; a'r brenin Benjamin sydd ddoethach ac ardderchocach brenin na'r brenin Solomon. Ymddengys ei fod yn cofleidio y ddiareb a ddywed, "Pa fwyaf rhyfeddol, mwyaf crediniol yr ystori, a pha leiaf o wir, a mwyaf o dwyll, mwyaf goleu a rhesymol yr hanes." Y mae genym yma esiampl arall o ddiffyg deall y Parch. Alex. Campbell; pa fodd y mae efe yn gwybod pa nifer o blant Israel oedd ar y ddaear yn amser Ioan Fedyddiwr? Fe allai un feddwl ei fod wedi cael dadguddiad mewn perthynas i'r deg llwyth cyfrgolledig—o'u rhifedi, eu dadguddiadau a'u llywodraeth; ac os oedd cymmeryd ymaith un teulu, a'u gosod i fyny mewn llywodraeth neu deyrnas wahanol, megys y cofnodir yn Llyfr Mormon, yn gwneuthur i'r deyrnwialen ymadael o Judah, a'r deddfwr o blith ei ddisgynyddion, beth a wnai y cymmeriad ymaith o ddeg llwyth oddiwrth fab Solomon, a'u gosodiad hwynt i fyny mewn teyrnas wahanol, megys y cofnodir yn y Beibl? beth, ond profi Duw yn gelwyddog, bid sicr, wrth *logic* Mr. Campbell.

*Cyf.* THOMAS JOB.

[Dymunwn hysbysu mai dyma ddiwedd sylwadau yr Henuriad Gibson, ac y mae yn drueni nad ysgrifenodd ragor. Ond gan fod yr Henuriad Orson Pratt wedi cyhoeddi cymmaint ar yr un pwnc, gall ein darllenwyr ddifyru eu hunain yn mhellach trwy ddefnyddio ei waith ef.—GOL.]

## LLYTHYR O POTTSVILLE, AMERICA.

*Pottsville, Awst* 14, 1852.

Fy Anwyl Fodryb,—Wele yr ydwyf yn cymmeryd y cyfleusdra presennol idd eich anerch o'r America, gyda gobaith y derbyniwch hwn yn eich hapusrwydd o iechyd da, fel ag yr ydym ni yn parhau, trwy diriondeb fy Nhad Nefol. Yr ydwyf yn eich hysbysu fy mod wedi cael y fraint o ufyddhau i gyfreithiau ac ordinhadau santaidd y Duw tragywyddol. Cefais fy medyddio i Eglwys ein Harglwydd Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, nos Sul, y 18fed o Orphenaf. Mae yn llawen a hyfryd genyf allu tystiolaethu fy mod yn gwybod fy mod yn unig wir Eglwys Iesu Grist ar y ddaear, ac y mae llawer o bethau tymmorol ac ysbrydol yn eglur brofi i mi mai hon yw hi; ac yr ydwyf yn benderfynol, yn nerth fy Nuw, i barhau ynddi hyd y diwedd; ac yr ydwyf yn dymuno arnoch oll, O Saint, am gymhorth eich gweddiau ar fy rhan, a cheisiaf finnau gofio am danoch chwithau yn fy ngweddiau ar ein Tad Nefol. Fe garwn gael siarad â chwi wyneb yn wyneb i ddweyd ein helyntion, a thystiolaethu wrth ein gilydd am ryfedd rhad ras ein Duw. Ond gobeithiaf na fydd yr amser ddim yn hir cyn y cawn gwrdd yn Seion, heb byth ymadael mwy, ond cydfoli a gogoneddu gyda Christ ein pen yn dragywydd. Hyn yw fy nymuniad a'm gweddi yn Iesu Grist, Amen.

Yr ydym ni yn nghylch deg neu ddeuddeg o frodyr a chwiorydd yn ymgynnull yn y lle hwn at ein gilydd i addoli ein Duw, trwy ei Fab, ac yr ydym yn cael o wedd ei wyneb gyda ni trwy ein nerthu â doniau ysbrydol, yn ol ei addewid i'w Saint. Y mae yn ein llywyddu yn y gangen fychan hon ein hanwyl frawd Thomas Richards, a ddaeth o Ferthyr Tydfil er ys oddeutu pum mlynedd yn ol.

Nid ydym ni yn cael clywed dim newyddion o'r Llyn Halen yn awr, ond cymmaint ag ydym yn dderbyn oddi yna ambell i waith mewn llythyron y Saint, ac ambell i Udgorn. Mae y gweithfeydd glo yn myned yn mlaen yn hwylus yma yr haf hwn, a digon o waith i bawb sydd yn ei geisio; yr ennill yn gyffredin yw o 6 i 8 dolar yr wythnos. Dymunaf fy ngofio yn fawr at yr holl Saint, a gwneyd y llythyr hwn yn hysbys iddynt oll. Cof-

iwch fi yn fawr at fy ewythyr Lewis, a modryb Jane, ei wraig, a'r plant i gyd, a phawb a'r a ymofynant am danaf.

Dymunaf arnoch anfon yn ol mor fuan ag y bydd modd, a rhoddi tipyn yn helaeth o hanes yr Eglwys, sef pa faint yw eich rhif, a phwy sydd wedi ymado i fyned tua Seion, &c. A dymunaf arnoch, os gwelwch yr ychydig linellau hyn yn weddaidd, eu cyhoeddi yn yr UDGORN, fel y caffo fy holl dylwyth trwy Aberdar, Merthyr-Tydfil, Sirhowy, Tredegar, &c., gyfle i wybod fy mod yn weithiwr yn ngwinllan ein Harglwydd Iesu Grist; a gobeithio y gwna yr ychydig linellau bratiog hyn ddylanwadu ar ryw rai yn adnewyddol i ddyfod i filwrio dan faner ein Harglwydd Iesu Grist: hyn yw fy nymuniad a'm gweddi yn ei enw ef. Amen.

Ydwyf, eich anwyl frawd a'ch ufydd was yn yr efengyl,

RICHARD RICHARDS.

---

## YR YMGASGLIAD.

TON—"Denis March."

BETH yw'r sôn dirfawr sydd,
A yw Naf yn fy nydd,
Am gael llu cein-wych cu,
Idd ei dŷ o'r wir ffydd?
Ai rhoi hael gynnyrch cein-wlad,
Sydd yn ei fryd a'i fwriad,
I weddw ac amddifad, a chodiad i rai prudd!
O, ie, dyna fwriad,
A dyben yr ymgasgliad;
Mae Duw o'i ddirfawr gariad,
Yn noddu'r Saint yn wastad:
I'w dre, o wydd pob drwg,
O olwg Babel gerth,
Efe a'u dwg yn fuan,
I'w gorlan trwy ei nerth:
Pan byddo'r plaau'n d'od yn gafod ar bob gau,
Pryd hyn fe brofa rhai beth ydyw gwaeau Duw;
Yn dâl am eu troseddau, eu llygaid syrth o'u tyllau,
Dymunant fwyniant angeu, d'wed yntau "rhaid i'ch fyw!"

Pryd hyn bydd y Dyffrynoedd,
I'r seintiau megys nefoedd,
A'u da a'u deadelloedd,
A'u gwyliau hedd a'u gwleddoedd,
Tra bo haul, lloer a ser, tra bo Iôn tirion têr,
A bythol fyw yn llawen, yn nhre' yr awen bêr.
Dêna'r swyn hynaws sydd
Gan fy Nuw yn fy nydd,
Luoedd llon i'r wlad hon,
Sydd â'u bron 'nawr yn brudd;
Er bod tan gysgod Ceidwad,
A chael o ffrwyth ei gariad,
Yn ol pob rhag-fynegiad, a bwriad teulu'r ffydd:
Cawn yno foddio'r galon,
A moethau cain danteithion,
Heb gymmysg o ddail surion,
Yn santaidd fynydd Seion;
Pawb yn dlws, neb yn dlawd,
Nac ar frawd anffawd flin;
Dysgeidiaeth nef y nefoedd,
A'u lluoedd yno'n un.
O groesaw, ddedwydd ddydd, ysplenydd hir-ddydd haf,
Pan y cawn wynfyd braf, o'r puraf yn ein tre';
Da Ior, o agor galon, bob rhai o'r boneddigion,
I roi o'u haur melynion, i ffyddlon weision ne',
I'w rhoi yn y Drysorfa,
I'n cludo oddi yma,
Tros fôr i Galifornia,
'Nol cynghor y Jehofa:
Fel gwna iâr, wa'dd pob cyw, dan ei gwâr edyn gwiw,
I'w cadw rhag cawodydd, a 'stormydd o bob rhyw.

*Graig-ddu.* JOHN RICHARDS.

---

## PENNILLION.

MAE amser dedwydd yn nesâu,
Yr Iesu a deyrnasa'n glau
O fôr hyd fôr, mewn hedd didraul,
O godiad hyd fachludiad haul.

Y gareg dorwyd nid â llaw,
Yn deyrnas gref yn fuan daw;
Y ddelw a'i gogoniant mawr,
Malurir hi fel llwch i'r llawr.

Holl draddodiadau'r byd yn awr,
A noddfa twyll y gelyn mawr,
Daeth dydd o ymlid ar eu rhan,
Ni feiddiant lechu yn un man.

'R ynysoedd pell a ddont cyn hir
I feddu a chofleidio'r gwir;
Ar dywyll leoedd daear lawr,
Ymdaenodd dydd o nefol wawr.

Fel goleu'r dydd o'r dwyrain draw,
'N fwy fwy ei nerth a'i lewyrch daw;
'Run modd—amen, medd f' enaid cun,
Y bydd dyfodiad Mab y Dyn.

O tyred, wynfydedig ddydd,
I roi anwyliaid Duw yn rhydd;
Dysclaerdeb dy ddyfodiad clau
A wna i'm calon lawenhau.

I lawr, i lawr daw Babilon,
Gorseddau'r byd a syrth o'r bron;
Y trais a'r gormes mwy ni bydd,
A phlant caethiwed ddont yn rhydd.

Holl freniniaethau'r ddaear hon,
Coronau beilchion byd o'r bron,
'R amherodraethau, er eu maint,
A ddeuant oll yn eiddo'r saint.

Daw'r saint yn rhydd o'r cystudd mawr,
Ni welir un yn wylo 'nawr;
Eu hocheneidiau'n ganu sydd,
A'u galar dwys yn foliant fydd.

Griddfanau'r saint, a'u galar oll,
Ni chlywir mwy—ânt byth ar goll;
Y nef a'r ddaear lawenhant,
A'r bydoedd gorfoleddu wnant.

DEWI ELFED.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

NA arferwch eich hunain i lefaru llawer, a chyn y llefaroch ystyriwch; na oddefwch i'ch tafod redeg o flaen eich synwyr a'ch barn; os na fydd y galon yn rhagfyfyrio, bydd y tafod o anghenrheidrwydd yn fyrbwyll.

Bydded i ni sylwi yn ofalus ar y rhinweddau da yn mha rai y mai ein gelynion yn rhagori arnom, ac ymdrechu rhagori arnynt hwy trwy ochelyd yr hyn sydd feius, ac efelychu yr hyn sydd ganmoladwy ynddynt.

Na ddiystyrwch eich iselradd mewn pethau tymmorol; canys dichon eu bod yn rhagori arnoch mewn doniau meddyliol.

Yr ydys wedi sylwi yn gywir, mai yr atheist yw y dyn mwyaf hygoelus yn y byd mewn un pwnc, gan ei fod yn credu fod y bydyssawd wedi cael ei ddwyn i fodoliaeth trwy effaith damwain.

PENNILLION.

O frodyr a chwiorydd cu,
Mor hoff i'w cwrdd mewn hedd;
A'r sawl a fedda galon iach,
All ddangos siriol wedd.

Yr hwn fynwesa drais a brad,
Nis gall e' fyw'n gytun,
Na rhyngu bodd ein Nefol Dad;
Mae'n uffern iddo'i hun.

*Georgetown.* MARY-ANN.

---

TALIADAU O HYDREF 15 HYD HYDREF 28.—Sir Fynwy, £3; Llanelli, £9 12s 6c; Dyffryn Conway, 15s 3c; Sir Ddinbych, £3; Dinas, 8s; Llanilltyd, 10s; Pontypridd, £1; Aberamman, 17s; Hirwaen, £1; Georgetown, 15s 9½c; Merthyr, 10s; Cefn, 17s 2c; Ffynnon-Tydfil, 3s 9c; Troedyrhiw, 1s 7c.—Cyfanswm, £22 11s 0½c.

CYNNADLEDDAU Y GOGLEDD.—Cynnelir Cymmanfa Sir Fflint ar y 7fed o Dachwedd; Sir Ddinbych, ar y 21ain; Dyffryn Conwy, ar yr 28ain; Sir Fôn, ar y 5med o Ragfyr; a Sir Feirionydd, ar y 12fed.

YMFUDO.—Bydded i bawb a fwriadant ymfudo yn nechreu y flwyddyn, ddanfon eu rhag-dal, eu hoedran, celfyddydau, preswylfod, &c., i'r Llywydd Phillips, yn ddioed.

GWALL.—Yn nhud. 327 o'n rhifyn diweddaf, diangodd y gair "troedfedd" yn lle "modfedd," mewn rhai argraffiadau, pan yn desgrifio maintioli y blychau at ymfudo. Gobeithiwn nad oes neb wedi gwneyd blychau o'r maintioli a nodwyd (trwy ddiofalwch "d——l yr argraffydd"), rhag iddynt gael eu temtio i fŷnu hwylbrenau iddynt, a threio ymfudo yn eu blychau, ac felly bod yn syndod i holl bysgod y môr!

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 23.] TACHWEDD 13, 1852. [CYF. IV.

## OFFEIRIADAETH.

MAE dynion yn eu huchelfryd wedi bod erioed yn ymgeisio am awdurdod, er llywodraethu ac ymarfer dylanwad meistrolaidd dros eu cyd ddynion; ac yn gyffredin ychydig iawn o sylw sydd wedi ei dalu ynghylch y dull a'r modd y daethant yn feddiannol ar y fath awdurdod, ac wedi ei gael, nid yw bob amser wedi ei ddefnyddio gyda golwg gywir at les neu iachawdwriaeth dynolryw. Mae yr awydd hwn, yr ydym yn cyfaddef, yn un tra naturiol, oddiwrth y ffaith fod dyn wedi ei fwriadu gan Dduw, a'i gyfaddasu yn ei gyd gorffoliad i fod yn llywodraethwr i raddau mwy neu lai yn yr amryw raddau a fodolant, o fod â llywodraeth ar ei nwydau, ei dueddiadau, a'i berson ei hun, hyd at fod â llywodraeth ar deulu, llwyth, cymdeithas neu gydwladoldeb, talaeth neu genedl, amherodraeth neu deyrnas; a dichon i'w uchelfryd hyd y nod chwennych llywodraethu y byd, neu megys Duw, i ysgwyd teyrnwialen dros fydoedd aneirif.

Nid yw pob awdurdod yn deilliaw yn uniongyrchol o'r un ffynnonell, eithr y mae yr hawl *gyfreithlawn* o Lywodraeth yn Offeiriadaeth Duw. Mae gormeswyr a thraws-feddianwyr, dan y teitlau o Amherawdwyr, Breninoedd, a Llywodraethwyr, yn meddu llywodraeth ar y ddaear, yr hon a gafwyd, ac a gedwir trwy y cleddyf a thrwy waed, yr hyn oll sydd yn draws feddiant o awdurdod, a ennillwyd trwy allu, ac nid trwy hawl. Mae hyd y nod sŵn y gair Offeiriadaeth, i bob dyn a fedd ddrychfeddwl cywir am lywodraeth Duw, yn rhoddi syniad ag sydd naill ai yn dyrchafu ei enaid gan lawenydd, neu ynte, os nad yw ef yn teimlo

fod ei ddylanwad o fewn ei gyrhaedd, ei roi i fyny i anobaith. Mae yn arwyddocâu hawl ddwyfol i lywodraethu a rheoli, yn cael ei hymarferyd gan Dduw, a'i rhoddi i bwy bynag a ewyllysio Efe; a phan fyddo dyn yn ei dal, trwy ei gymmeradwyaeth Ef, y mae yn rhagori ar bob awdurdod arall, a chan hyny ni ellir yn effeithiol ei galw i gyfrif gan un arall. Mae yr hawl lywodraethol hon mor ddiogel, fel nas gall neb gymmeryd ei hanrhydedd neu ei hawdurdod iddo ei hun, canys y mae Duw yn galw *y neb a ewyllysio*, ac yn cyfranu iddo yn ei ffordd apwyntiedig ei hun; o ganlyniad nis gall neb ei chael heb gredu a chyfaddef fod cyfrwng o gyfrinach uniongyrchol rhyngddo ef a'i Dduw; a phob dyn ag a elwir megys Aaron, trwy ddadguddiad uniongyrchol, ac a ordeinir i'r Offeiriadaeth santaidd, a ordeinir er mwyn dynion, mewn pethau *perthynol* i Dduw, fel y dyger cymmod oddi amgylch.

Dysgwn wrth hyn fod yr Offeiriadaeth yn gweini mewn perffaith gydgorffoliad neu lywodraeth, oblegid ei bod yn lywodraeth a ordeiniwyd ac a gynnelir gan Fod perffaith: y mae yn awdurdod santaidd a chyfiawn, oblegid ei bod yn gweini mewn pethau perthynol i Dduw, ac yn cyfranogi o'i holl briodoleddau Ef. Y mae yn rhesymol, ynte, i ni benderfynu y gofynai Duw ufydd-dod a pharch i gael eu talu i'w lywodraeth Ef lle bynag y ceid hi, ac y dylai y rhai sydd yn dal yr Offeiriadaeth gael eu cydnabod fel ei genadon ef.

Ar bwnc mor hunan-eglur, nid oes anghen i ni ymresymu yn mhellach er ein hawdurdodi i sylw, fod yn rhaid, mewn gweinyddiad o gyfraith berffaith, fod ufydd-dod perffaith i'r gyfraith hono, oddiwrth y deiliaid a lywodraethir ganddi; pe amgen, y gyfraith a droseddid, am yr hyn y byddai raid i'r troseddwr roddi iawn: oni bai mai felly y mae, ni chawsai anrhydedd y gyfraith ei amddiffyn; eithr y mae cyfraith Duw, gan fod yn berffaith, nid yn unig yn darparu er iachawdwriaeth pawb trwy drugaredd, ond y mae hefyd yn arfog â *chyfiawnder*, fel y byddo i'w huchafiaeth gael ei ddal i fyny trwy fesur allan daledigaeth gyfiawn i'r troseddwr.

Mae yr Offeiriadaeth hon yn awr yn mhlith dynion ar y ddaear, ac mewn gweithrediad llwyddiannus er eu hiachawdwriaeth. Bu y Brenin ei hunan, yr hwn sydd yn dal pob awdurdod yn yr Offeiriadaeth hon, ar y ddaear er ys mwy nâ deunaw cant o flyn-

yddbedd yn ol, ac efe a ddymunodd deyrnasu trwy ei rhinwedd, eithr dynolryw ni oddefasant iddo. Yr oedd efe yn santaidd, eithr yr oedd dynion mor ddrygionus fel na allent werthfawrogi ei ddaioni, na'i awdurdod; gan hyny, dyfethwyd ef ganddynt, ac ni adawsent iddo fyw ar y ddaear. A pha beth fu y canlyniad? Y gallu santaidd a'r dylanwad achubol hwnw a feddiannai efe, a gawsant eu rhoddi ganddo i ddynion, y rhai nid oeddynt mor berffaith ag ef ei hun, ac efe a'u hordeiniodd hwynt i fod yn gyfrwng o'i allu, fel ysgatfydd y byddai eu llafur a'u gweinidogaeth hwy yn fwy cyfaddas i sefyllfa isel, wael, a diraddiol y sawl ag oeddynt i'w derbyn, ac o herwydd hyny, i gael eu gwerthfawrogi yn well nâ'i lafur a'i ddybenion Ef.

Nid yw meddyliau dynion yn gyffredin wedi eu cyfaddasu i dderbyn gweinidogaeth bodau perffaith; gan hyny gweinyddir i bob gradd o ddealltwriaethau gan y nesaf uwchlaw iddynt mewn medrusrwydd, gallu, a gogoniant, yn gyffelyb i ffordd y bywyd i Sant, yr hon sydd o ras i ras, ac o ffydd i ffydd, gan fyw ar yr hyn sydd o ran hyd nes delo yr hyn sydd berffaith. Pan fyddo llywodraeth Duw wedi ei sefydlu yn hollol ar y ddaear, trwy gyfrwng uniongyrchol dynion ac angylion dan arolygiaeth Duw ei hun, ac wedi ennill yr oruchafiaeth mor bell ar y galluoedd gwrthwynebol, ag y gallo person y Brenin fod yn ddiogel yn mysg dynion, a chael ei ddyledus anrhydeddu ganddynt, yna efe a ddaw etto i deyrnasu, a dwyn yr hyn sydd berffaith; yna y mwynheir dydd cyffredinol o heddwch a chyfiawnder gan y rhai hyny a etifeddant y ddaear; canys y mae'r Brenin wedi arfaethu y bydd i bawb nas gallant oddef ac anrhydeddu y perffaith weinyddiad o'i gyfreithiau yn y dydd hwnw, gael ei ddinystrio oddiar y ddaear.

Yn ol esiamplau ag a roddir yn yr ysgrythyr lân, ac a welwyd yn wir gan lawer o'r Saint yn yr oruchwyliaeth bresennol, gelwir dynion i dderbyn yr Offeiriadaeth, a thrwy ei phwer cyflawnant rhyw waith neillduol i ba un yr ymddangosant fod wedi eu cyfaddasu, ac ar ol hyny goddefir iddynt i ddianrhydeddu yr Offeiriadaeth hono trwy ddefnyddio y dylanwad a ennillasant, er arwain ereill ar gyfeiliorn; a thrwy hyny y mae dianrhydedd a gwarth wedi ei ddwyn ar amserau ar y rhai a'i hystyriai yn ddyledswydd i wrandaw ar eu cynghor. Trwy gael eu galluogi felly i gyflawni eu dybenion trachwantlyd, trythyll, ac anghyfreithlawn,

y maent wedi dwyn gwarth a dyoddefaint ar ereill, tynu digofaint Duw ac anghymmeradwyaeth ei bobl arnynt eu hunain, ac y mae gallu yr Offeiriadaeth wedi ymadael yn llwyr oddi wrthynt, canys ni wna ei rhinwedd aros gyda y rhai hyny a dorant ei chyfreithiau.

O herwydd y ffeithiau hyn, ac anmherffeithderau ymddangosiadol dynion i'r rhai y mae Duw yn rhoddi awdurdod, y gofyniad a ofynir weithiau,—Pa mor bell y mae ufydd-dod i'r rhai sydd yn dal yr Offeiriadaeth yn ofynol? Mae hwn yn ofyniad tra phwysig, ac yn un a ddylai gael ei ddeall gan yr holl Saint. Wrth geisio ateb y gofyniad hwn, ni a ewyllysiwn ail-adrodd, yn fyr, yr hyn a ysgrifenasom yn barod, sef fod ufydd-dod ewyllysgar i gyfreithiau Duw, pan yn cael eu gweinyddu gan yr Offeiriadaeth, yn anhebgorol i iachawdwriaeth; eithr ni a ewyllysiwn ychwanegu yn mhellach, fod diogeliad addas rhag yr awdurdod hwn yn bodoli er lles pawb, ac nas gofynir i neb ymostwng yn *ddof a dall* i ddyn oblegid fod ganddo gyfran o'r Offeiriadaeth. Yr ydym wedi clywed dynion sydd yn dal yr Offeiriadaeth yn sylwi, y gwnelent hwy unrhyw beth y dywedid wrthynt am ei wneyd gan y rhai a lywyddent arnynt, *pe gwybyddent ei fod yn gyfeiliornus*: eithr y mae y fath ufydd-dod â hyn yn waeth nâ ffolineb i ni; y mae yn gaeth wasanaeth o'r fath waethaf; ac ni ddylai dyn a ddiraddiai ei hun felly, hawlio rhenc yn mhlith bodau deallgar, hyd nes y troa oddiwrth ei ffolineb. Buasai dyn i Dduw, yr hwn a geisia achub ei gyd-ddynion, yn ffieiddio y drychfeddwl o weled arall yn myned yn gaethwas iddo, yr hwn a feddai gystal hawl ag yntau i ffafr Duw; yn hytrach efe a ddewisai ei weled yn sefyll yn ei ochr, yn elyn cyfammodedig i gamwedd, cyhyd ag y ceid lle iddo yn mhlith dynion. Ereill, yn yr ymarferiad eithafol o'u hawdurdod hollalluog (!), ydynt wedi dysgu fod y fath ufydd-dod yn anghenrheidiol, ac nad oedd wahaniaeth pa beth a ddywedid wrth y Saint gan eu Llywyddion am wneuthur, y dylent ei wneuthur heb ofyn dim cwestiynau.

Pan fyddo Henuriaid Israel yn ymbleseru cyn belled yn y dychymmygion eithafol hyn am ufydd-dod, ag i'w dysgu i'r bobl, yr achos yn gyffredin yw oblegid ei fod yn eu calonau i wneuthur camwedd eu hunain, ac yn dymuno palmentu y ffordd er cyflawni y camwedd hwnw; neu ynte, oblegid eu bod wedi gwneuthur camwedd, ac yn chwennych defnyddio cochl eu hawdurdod

i'w orchuddio â hi, rhag iddo gael ei ganfod gan eu huchelach, y rhai a ofynent iawn oddiar eu dwylaw.

Ni a ewyllysiwn ofyn, I ba ddyben y rhoddir yr Offeiriadaeth i ddynion? Fel y byddo hawl ganddynt i weinyddu cyfraith Duw. A oes hawl ganddynt o ganlyniad i wneyd y gyfraith hono yn ddirym? Nac oes, yn ddiau. Pan fyddo cyfraith Duw wedi myned allan o'i enau ei hun, ac wedi ei thraethu trwy eneuau ei Brophwydi a'i Apostolion, gan ddywedyd, "Na ddywed gelwydd;" pwy a all ddywedyd trwy bwer ei Offeiriadaeth, Ti a elli ddywedyd celwydd, a bod yn gymmeradwy? Mae yr Arglwydd a'i Brophwydi wedi traethu yn gyfraith i'w bobl, "Na wna odineb." Yna pwy a all ddywedyd, Ti a elli odinebu, ac ni fydd yn un pechod? Y mae yn ysgrifenedig fel cyfraith i'r Saint, "Na ladd." Yna yr ydym yn gofyn etto, Pwy a all ladd a chael maddeuant? Ac yn y cyffelyb fodd y gellid gofyn ynghylch holl gyfreithiau Duw, Pwy sydd â hawl i'w gwneyd yn ddirym? Nis gall neb alw yn ol y gorchymyn ond yr Hwn a'i rhoddodd; ac nis gellir mathru cyfreithiau Duw yn ddigosp, neu eu galw yn ol gan awdurdod llai nâ'r hon trwy ba un y gwnaed hwynt. Y mae yn ysgrifenedig am Dduw, nas gall ddywedyd celwydd; yna nid oes achos i neb feddwl y cymmeradwya Efe hyny trwy ei awdurdod ag sydd ar y ddaear; ac nid mab dyn yw Efe i edifarhau, ac o ganlyniad efe a amddiffyna y gyfraith trwy yr hon y llywodraethir ei deyrnas. Os meddylia rhywrai y gallant roddi cynghorion i foddhau eu chwantau, neu ateb dybenion trachwantlyd a dywedyd, "Nid oes neb yn ein gweled," tra y byddont yn ymfwynhau ynddynt, ac yn ymhyfrydu mewn pechod fel tamaid melys, hwy a gant allan etto gyda thristwch, fod llygad nad yw byth yn cysgu wedi bod ar eu llwybr, ac y gwna yr Hwn sydd yn gweled yn y dirgel ddwyn i'r amlwg, a thalu ar gyhoedd i bob dyn yn ol ei weithredoedd, pa un bynag a fyddont ai da ai drwg.

Pe gallai dyn gael cymmaint o awdurdod â'r Hollalluog, ni awdurdodai hyny ef i wneuthur ar gam, na chynghori arall i wneuthur ar gam; a'r dyn a weinyddo gyda phleidgarwch, er mwyn cuddio drygioni, a ga allan y cymmerir ei oruchwyliaeth oddi wrtho.

Wrth weinyddu llywodraeth Duw, y mae tair plaid yn dal perthynas â hyny, sef, y deiliad a lywodraethir, y person a lywodraetha, a'r person trwy ganiatâd neu trwy gymmeradwyaeth yr

hwn y mae hwnw yn llywodraethu. Pe gofynid i ryw ddyn gan ei Lywydd am droseddu rhyw gyfraith adnabyddus, neu os na byddai yn boddloni ar y cynghor a fyddo yn roddi, ni ddylai efe wrthryfela yn gyhoeddus yn erbyn y Llywydd hwnw; eithr os na allant weled lygad yn llygad, efe a ddylai apelio yn ddirgel at yr uwch awdurdod neu'r Llywydd nesaf, a lle byddo tri felly yn cael eu dwyn ynghyd ag fo yn meddu ysbryd i weithredu uniondeb, uniondeb a ffyna, a chaiff cydgordiad ei feithrin. Tra byddo cymmeriad llywodraeth Duw felly, fel y byddo ei hanian a'i rheolaeth yn tueddu i ysgubo drygioni oddiar y ddaear, nid oes eisieu i bersonau feddwl ymesgusodi am gyflawni gweithred anghyfreithlawn adnabyddus, yn unig oblegid eu bod wedi eu herchi gan arall i'w chyflawni; pe gwnelai y fath esgusawd â hyn gyfiawnhau, ni fuasai achos i neb ddyfod dan gondemniad; canys buasai dynion yn sicr o gael allan rywun ar yr hwn i roi eu baich o bechodau. Mae y dydd wedi dod pan y gall pawb ddysgwyl cael ateb am eu pechodau eu hunain, heb gynnyg eu cuddio ag Offeiriadaeth arall.

Mawr yw cyfrifoldeb y dyn hwnw a elwir i roddi cynghor ag sydd yn dal perthynas ag iachawdwriaeth arall; a phan gaffo y cyfryw gynghor ei roddi, dylai fod o'r fath nodweddiad pur, ag a allo yr awdurdodau uwchlaw iddo ar y ddaear, ac angylion, yn nghyda Duw, ei gymmeradwyo. Yna ni fydd achos iddo ef ddinystrio ei ddylanwad a'i awdurdod ei hun, trwy ddweyd wrth ereill nad pechod fydd iddynt odinebu, dweyd celwydd, neu ladrata, &c. &c., pe dywedid wrthynt am wneyd hyny gan yr Offeiriadaeth, a thrwy hyny wyrdroi ffyrdd uniawn yr Arglwydd, a dwyn gwarth ar anrhydedd ei achos. Nid yw yr Arglwydd yn gofyn y fath ymddiried â hyn yn ei Offeiriadaeth, na dynion da ychwaith ag a fo dan ei dylanwad. Nid yw yr Offeiriadaeth byth yn hawlio camwri oddiar law arall, er y gall dynion sydd yn dal yr Offeiriadaeth hawlio hyny, fel ag y mae weithiau wedi dygwydd, ac am yr hyn y cawsant ddyoddef.

Lle y byddo awdurdod Duw, yno y dylai ymddiried pawb gael ei osod, yn ddigonol i ufyddhau ei chyfreithiau, ond nid i'w tori; canys nid ydym ni etto wedi deall fod ganddi ddigon o allu i achub y troseddwr yn ei bechodau. Mae rhai dynion wedi bod mor ddoeth â meddwl fod yr ychydig awdurdod a feddent hwy, yn ddigonol iddynt er troi cyfraith a dadguddiad o'r neilldu, a mesur

allan gyfiawnder a barn ar eu cyfrifoldeb eu hunain. Eithr yn y diwedd hwy a gawsant allan fod y cyfrifoldeb hwnw yn fwy nag y gallasent ei ddyoddef.

Nid yw yr ystyriaethau hyn yn cael eu dwyn yn mlaen gyda'r meddwl o fesur terfynau awdurdod ddwyfol, canys ni all neb gael iaith i ddesgrifio helaethrwydd breintiau ac awdurdod yr Offeiriadaeth; oblegid ei hamgyffred yn gyflawn, fyddai amgyffred Duw. Eithr y maent yn cael eu cynnyg gyda golwg i'r Saint gael eu harwain i ganfod y medrusrwydd a'r doethineb a amlygir yn ei chorffoliad; mor ddiogel y mae yn cael ei gwylio rhag twyll dynion, a'r anmhosiblrwydd i bechod lwyddo lle y gweinyddir hi yn ddyladwy a doeth, ac nad oes achos i neb gael eu twyllo os byddant yn deall yr hawliau a'r breintiau y mae yn sicrhau iddynt: yna, os na fyddant yn gwneyd defnydd o'r hawliau hyny, hwy a adewir yn ddiesgus. Dylai arferiad gormodol o awdurdod, mewn achosion o'r fath bwysigrwydd, ac ar faterion o'r fath bwys anfeidrol, gael eu gochelyd yn ofalus, pan ystyriom fod yn rhaid i bob un roddi cyfrif cywir o'i oruchwyliaeth.

Mae rhai wedi tybied mai pa fwyaf o awdurdod a feddo dynion yn nheyrnas Dduw, mai mwyaf i gyd yw eu rhyddid i anmharchu ei gyfreithiau Ef, a bod eu mawredd hwy yn gynnwysedig yn eu breintiau braidd annherfynol, y rhai a'u gadawant hwy yn ddireolaeth; eithr y mae hon yn dyb gamsyniol. Y rhai ag ydynt fwyaf mewn awdurdod, sydd dan y reolaeth fwyaf; mae cyfraith eu cylch hwy yn fwy nag eiddo y rhai ag ydynt yn îs mewn awdurdod, ac y mae rheolaeth a chosp y gyfraith hono yn fwy mewn cyferbyniad; o ganlyniad, y maent hwy dan fwy o rwymau i amddiffyn rhinwedd cyfraith a sefydliadau Duw, pe amgen nis gellid gosod ymddiried ynddynt, a'r canlyniad fuasai diffyg ymddiried a drwg dybio; anfoddlonrwydd a geid yn llechu yn mhob rhodle mewn cymdeithas, a thrwy ddadgyssylltu felly rwymynau undeb, profai yn ddinystr i unrhyw bobl.

Y mae llef o'r nefoedd wedi cael ei chlywed etto yn aflonyddu dystawrwydd oesoedd, gyda bwriad a phenderfyniad i sefydlu teyrnas Dduw, ac arwain i mewn lywodraeth nefol ar y ddaear; ac os bydd i ddynolryw barchu ac ufyddhau i'r cyfreithiau hyny pan eu dadguddir iddynt, hwy a fyddant gadwedig, ac a etifeddant ogoniant nefol. Am hyny, pe meddem ni lais cyffelyb i sain udgorn yr archangel, fel y clywid ni gan bawb byw, neu pe

meddem allu Duw i dreiddio a gwneyd i bob calon deimlo a mwynhau y gwirionedd, ni a'i cyhoeddem ar led yn nghlustiau pawb byw,—Edifarhewch, edifarhewch, canys awr barn Duw a ddaeth, a'r troseddwr a ddyfethir oddiar y ddaear, tra y gwaredir yr addfwyn i'w hetifeddu yn dragywydd.

[Cyfieithasom y traethawd blaenorol o'r "Star" am Tach. 13, 1852, ac hyderwn y bydd o fendith annhraethol i'r Saint Cymreig. Gobeithiwn na fydd Cangen yn Ngwalia yn cael eu gadael heb iddo gael ei ddarllen yn gyhoeddus i'w clywedigaeth.—Gol.]

---

## SEFYLLFA BRESENNOL Y BYD.

Mae sefyllfa bresennol y byd yn rhyfedd iawn, ac O mor druenus yw yr olygfa arno! Mae wedi myned yn llawn helbul, gofid, a thrueni, ac yn llawn budreddi, trais, gormes, a phob math o ffieidd-dra, nes y mae wedi myned yn ffaidd yn ngolwg Duw a'i angylion; ac y mae fel crochan berwedig a osodwyd ar dân, ac a gynnwysai bob math o lysiau. Cyffelybaf y byd i grochan, a'r trigolion i'r llysiau. Y mae y trigolion yn berwi trwy y byd am fywyd tragywyddol, megys mae y llysiau wedi eu gosod mewn crochan berwedig ag a gynhyrfir gan dân: felly yn union mae y byd yn berwi am fywyd tragywyddol, ac ni chytuna dau o honynt ynghylch y ffordd sydd yn arwain i'r bywyd, yr hyn sydd o bwys mawr i bob dyn ddyfod i wir wybodaeth o hono. Ond nid oes neb braidd yn y byd yn cytuno ynghylch y ffordd; un a â y ffordd hyn, a'r llall y ffordd draw, nes y mae pawb wedi myned i'w ffyrdd eu hunain. Rhai a ddywedant mai taenellu sydd yn iawn, ac ereill mai bedydd er esiampl; na, meddai un arall, "Deuwch atom ni, dyma'r ffordd;" ac ereill a ddywedant mai eu ffordd hwy sydd yn iawn; ereill a broffesant nad oes eisieu gwneuthur dim ond credu yn Iesu Grist, ac ymorphwys arno, a darllen a gweddio hwyr a boreu, a chanol dydd, a gwneuthur elusenau i'r tlodion, er bod yn gadwedig. Dyma'r dull y maent wedi myned, nes y mae tri chant a thrugain a chwech neu ragor o ffyrdd yn ein byd i gael bywyd tragywyddol, trwy yr oll o ba rai y mae yn anmhosibl i gael bywyd, oddieithr trwy un o honynt.

Wel, pwy sydd yn gwybod y ffordd i gael bywyd tragywyddol? Dywed pawb o honynt nad oes eisieu gwybod cyn yr elom yr ochr draw i "afon angeu." Os gofynwch i'r Wesleyaid, Method-

istiaid, Undodwyr, offeiriaid Eglwys Loegr, a'r Pabyddion, &c., os oes ganddynt wybodaeth sicr o ffordd y bywyd, yr ateb a roddant yw, nad ydynt ond credu yn unig, ac yn gobeithio eu bod ar y ffordd iawn. Beth yw y fath wybodaeth â hon? Y mae cythreuliaid yn credu ac yn crynu, felly hefyd y mae holl grefyddwyr ein gwlad; mae yn debygol mai dyma y rhai y cyfeiriai Paul atynt, ag oedd yn "dysgu bob amser, ac heb ddyfod un amser i wybodaeth o'r gwirionedd," neu y ffordd sydd yn arwain i'r bywyd; ac y mae amrafael wedi myned yn eu plith o barthed i'r gwirionedd. Y mae y fath gaddug o dywyllwch wedi eu hamdôi, fel na chymmerant eu dysgu yn amgenach; ac y maent mor oleu yn ol eu tyb eu hunain, nes y llanwant y cymmeriad hwnw a sonia yr ysgrythyrau am dano, sef "a llygaid ganddynt, ac ni welant; a chlustiau ganddynt, ac ni chlywant." Pan gynnygir iddynt wybodaeth o'r gwirionedd, gwrthodant hi, or i Solomon ddywedyd, mai "yr enaid heb wybodaeth nid yw dda." Os gofyn rhywun, gwybodaeth o ba beth a feddyliai y gwr doeth, atebwn, mai gwybodaeth o Dduw, ei drefn, ei ewyllys, a'r ffordd yr hon a gymmeradwya i achub dynolryw. Wel, os mai gwybodaeth o'r ffordd sydd yn arwain dyn i feddu bywyd tragywyddol a feddyliai, oni ddylai pawb chwilio am y wybodaeth hono? dylent yn ddiammau.

Dywedai Crist wrth y bobl gynt, "Chwiliwch yr ysgrythyrau, canys ynddynt hwy yr ydych yn meddwl cael bywyd tragywyddol (fel crefyddwyr yr oes hon), a hwynt-hwy sydd yn tystiolaethu am danaf fi; ond ni fynwch ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd," Ioan v, 39, 40. Gallwn ninnau ddweyd na fynwch ddyfod atom ni fel y caffoch fywyd tragywyddol, neu adnabyddiaeth o Dduw; oblegid dyweda Crist, mai "hyn yw y bywyd tragywyddol, iddynt dy adnabod Di yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist." Yn awr, gwelwn mai adnabod Duw a'i Fab yw y bywyd tragywyddol. Pa fodd y gellir adnabod y ddau berson hyn, a hwythau yn y nefoedd? Atebwn, mai trwy y Dyddanydd, yr hwn a addawodd yr Iesu, ag oedd i ddwyn i'r cof yr hyn a aeth heibio, ac i fynegi pethau i ddyfod. Proffesa crefyddwyr ein hoes ni fod yr Ysbryd ganddynt hwy, a chan bawb sydd yn caru Iesu Grist, ac ar yr un pryd hwy a wadant ei holl weithredoedd nerthol ef. Gwaith yr Ysbryd Glân gynt oedd tystiolaethu mai Iesu oedd Mab Duw, a bod ei eiriau yn wirionedd, gan ddwyn llawer o fendithion ereill i'r rhai a ufyddhasent i efengyl Crist:

trwy yr Ysbryd hwn y rhoddid ymadrodd doethineb, ac i arall ymadrodd gwybodaeth, trwy yr un Ysbryd ; ac i arall ffydd, trwy yr un Ysbryd ; ac i arall ddawn i iachâu, trwy yr un Ysbryd; ac i arall wneuthur gwyrthiau, ac i arall brophwydoliaeth, ac i arall wahaniaeth ysbrydoedd, ac i arall amryw dafodau, ac i arall gyfieithad tafodau; a'r holl bethau hyn y mae yr un a'r unrhyw ysbryd yn eu gweithredu, gan ranu i bob un o'r neilldu megys y mae yn ewyllysio," 1 Cor. xii, 8,—11. Paul hefyd a roddodd y cynghorion canlynol :—" Na waherddwch lefaru â thafodau dyeithr ; na ddiffoddwch yr Ysbryd ; na ddirmygwch brophwydoliaethau; profwch bob peth, a deliwch yr hyn sydd dda." Etto, " eithr am ysbrydol ddoniau, frodyr, ni fynwn i chwi fod heb wybod." " Dilynwch gariad, a deisyfwch ddoniau ysbrydol, yn hytrach fel y prophwydoch." Gallasem nodi llawer o fendithion ag y mae Duw yn roddi i'w blant, fel y mae yn ysgrifenedig, na " welodd llygad, ni chlywodd clust, ac ni ddaeth i galon dyn y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai a'i carant ef; eithr Duw a'u heglurodd i ni (sef rhai o honynt) trwy ei Ysbryd." Pwy bynag sydd â'r Ysbryd Glân yn ei feddiant, y mae bywyd tragywyddol ganddo, ac y mae yn gwybod fod Iesu Grist yn Fab Duw, ac yn gwybod pa lwybr sydd yn arwain i'r bywyd, yr hwn sydd i ddynion rodio er dyfod yn ol i bresennoldeb Duw, megys yr oedd dyn ar y cyntaf, ac i gael mwynhau holl fendithion Duw, dim ond iddynt barhau yn ffyddlawn yn ei drefn. Byddant yn gwybod hefyd fod Iesu Grist wedi marw er mwyn iddynt hwy gael eu bywhau (yn ol iddynt ufyddhau i'w drefn), ac y cant eu hadgyfodiad, megys ag y cafodd yntau ei adgyfodiad. Y mae yr Hen a'r Newydd Destamentau yn tystio i ni y pethau hyn : ond nid ar dystiolaeth y Testament Newydd na'r Hen yr ydym ni yn adeiladu ein hunain, eithr ar sail yr apostolion a'r prophwydi, yr hon yw dadguddiad ; a'r hwn a fyddo wedi adeiladu ei dŷ ar ddadguddiad, y mae wedi adeiladu ar y graig; " ac ar y graig hon," medd Iesu Grist, " yr adeiladaf fy eglwys, a phyrth uffern nis gorchfygant hi." Yn awr, yn gymmaint â bod dadguddiad yn graig i'r eglwys, ac nad yw pyrth uffern i gael ei gorchfygu, bydded i chwi chwilio am y graig hon, fel y byddoch yn ddiogel.

Wel, meddai rhywrai, pa fodd mae i ni gael gafael ar y graig hono ag yr ydych yn sôn am dani mor aml ? Yn ngwyneb cymmaint o chwilio sydd yn ein byd am y graig hona yn mhlith

gwahanol grefyddwyr ein hoes, y maent hwy oll yn credu ac yn gobeithio fod y graig hona ganddynt; ond pwy o honynt sydd yn gwybod fod y graig hona yn eu meddiant? Atebwn, nad oes neb o honynt yn gwybod.

Awn yn mlaen i gael gafael ar y graig hona, neu o'r hyn leiaf i ddangos y ffordd i gael gafael ynddi. Yr ydym yn cael ar ddeall trwy ddarllen yr ysgrythyrau, fod Ioan yr apostol wedi cael ei alltudio i ynys Patmos, am dystiolaeth Iesu Grist, ac iddo yno weled gweledigaeth. Y mae pawb braidd yn credu fod hyny wedi bod, ond ni chredant fod y fath bethau â gweledigaethau i'w cael yn awr. Yn Dad. xiv, 6, 7, darllenir, "Ac mi a welais angel arall yn ehedeg yn nghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddo, i efengylu i'r rhai sydd yn trigo ar y ddaear, ac i bob cenedl, a llwyth, ac iaith, a phobl; gan ddywedyd â llef uchel, Ofnwch Dduw, a rhoddwch iddo ogoniant, oblegid daeth awr ei farn ef; ac addolwch yr hwn a wnaeth y nef, a'r ddaear, a'r môr, a'r ffynnonau dyfroedd." Ychydig y mae trigolion ein byd yn feddwl ynghylch yr angel, nac ynghylch dim arall braidd ag sydd yn dwyn iachawdwriaeth iddynt. Y maent yn credu fod yr efengyl ar y ddaear oddiar amser Iesu Grist hyd yn awr; ond y mae yn amlwg i ni weled nad oedd yr efengyl ar y ddaear oddiar yr amser hwnw, onide na fuasai cymmaint o annhrefn yn ein byd; canys y mae'r efengyl yn arwain dynion i undeb ffydd; ac os yw yr efengyl ar y ddaear oddiar hyny, y mae wedi arwain i gannoedd o ffyddiau, ac y mae hyny yn groes i ddywediad Duw ei hun.

Yn awr, yr ydym ni yn tystio fod yr angel hwnw wedi ymddangos yn yr oes hon i Joseph Smith, ac wedi cyflwyno yr efengyl iddo yn y flwyddyn 1829, a bod yr eglwys wedi ei sefydlu ar y ddaear yn y flwyddyn 1830; ac y mae yn rhaid i bawb gredu hyny, os ydynt am gael bywyd tragywyddol. Y peth cyntaf yw credu yn Iesu Grist, ei fod yn Fab Duw, a bod ei eiriau yn wirionedd. Hefyd, credu fod Joseph Smith yn brophwyd i Dduw, a'i fod wedi derbyn allweddau teyrnas Dduw gan yr angel. Rhaid credu hefyd fod Brigham Young yn brophwyd, ac Heber C. Kimball a Willard Richards mewn cyssylltiad ag ef. Yna, y mae yn rhaid credu yn y Patriarchiaid, y Deuddeg Apostol, y y Degau a thrugain, y Llywyddion yn Mhrydain a Chymru, a'u Cynghorwyr. Rhaid i bawb gredu fod prophwydi gan Dduw ar

y ddaear yn awr, a bod awdurdod ganddynt i weinyddu yn yr ordinhadau yn awr megys cynt; yna rhaid eu bedyddio gan un o honynt er maddeuant pechodau, ac wedi hyny cant osodiad dwylaw er derbyn dawn yr Ysbryd Glân. Yna cant dystiolaeth o ddwyfoldeb crefydd Saint y Dyddiau Diweddaf, a bod Duw yn bendithio ei bobl yn yr oes hon. Bendithied Duw bob calon onest â'r fraint o ufyddhau i'w orchymynion, fel y caffont yr Ysbryd Glân; a bendithied y rhai sydd wedi ufyddhau i gadw ei orchymynion hyd y diwedd, er mwyn Iesu Grist.

THOMAS DAVIES.

---

## DWYN AR GOF YR HYN A AETH HEIBIO, A MYNEGI PETHAU I DDYFOD.

1. BYDDED i chwi gadw mewn cof y Drysorfa Ymfudol; ni fydd dim galwad am yr arian cyn pen y chwarter. Bydded i'r holl Gynnadleddau ymdrechu eu goreu i wneuthur cymmaint ag a allant y chwarter hwn, o herwydd bydd cyfraniadau y chwarter presennol hefyd yn cael eu defnyddio at fyned â'r Saint tlodion i Seion yn nechreu y flwyddyn.

2. Bydded hysbys i bawb na fydd y Saint ag sydd yn ymfudo ar drael eu hunain, yn myned ar yr un pryd â'r lleill, sef y Saint ag sydd yn myned trwy gynnorthwy y Drysorfa; canys fe fydd y rhai hyny yn myned yn fwy diweddar yn y tymmor, yn gwmpeini gyda'u gilydd: a bydd gwyr y deg punnoedd yn cychwyn rhyw bryd yn mis Ionawr.

3. Bydded i chwi gofio eich addunedau mewn cyssylltiad â'r llyfrau, a bydded i'r arolygwyr ag sydd wedi eu hapwyntio yn mhob Cynnadledd ac yn mhob Cangen, gyflawni eu dyledswyddau, a gweled fod pob Dosparthwr yn gweithredu cyfiawnder. Yr ydwyf yn ystyried y dylai pob arolygwr ag sydd yn esgeuluso ei waith, gael ei ddwyn yn mlaen yn droseddwr i'r Cynghor. Y mae hyn yn fendith fawr iawn i rwystro dynion da i fyned yn lladron. Yr wyf yn ystyried fod bai neillduol ar Lywyddion Cangenau i adael i ddosparthwyr wneuthur anghyfiawnder ynghylch llyfrau: dylent fynu gwybod yn mhob cynghor pa fodd y mae pethau yn myned yn mlaen yn eu cangenau mewn perthynas â Llyfrau, fel pob peth arall.

W. S. PHILLIPS.

## TYSTIOLAETHAU O GYMMERIAD POBL UTAH.

(O'r "Deseret News.")

AT OLYGYDD Y "NEWS."

*Dinas y Llyn Halen Fawr, Gorph.* 6, 1852.

SYR,—Yr ydym ni, y rhai y mae ein henwau isod, dinasyddion o Waukegan, Swydd Lake, Talaeth Illinois, ar ein ffordd tua gwlad yr aur yn California, yn hysbysu i ni ddyfod i Ddinas y Llyn Halen Fawr dydd Sadwrn diweddaf, y 3ydd o Orphenaf. Ni a aethom i'r addoliad i'r Tabernacl, ar y pedwerydd dydd, a chlywsom athrawiaeth dda ac iachus, yn cael ei hamddiffyn gan amryw lefarwyr; ac hefyd yr oeddym yn dystion o weinyddiad cylchwyl y cyhoeddiad o annymddibynlaeth ar y 5med, lle y cawsom lawer o adeiladaeth wrth wrando ar y gwahanol areithiau a draddodwyd ar yr achlysur. Yr ydym ni, gan hyny, yn gwybod mai chwedlau anwireddus a gyhoeddir mewn perthynas i'r bobl hyn; ac yr ydym yn credu eu bod yn teilyngu gwell enw nag y maent yn ei dderbyn hyd yn hyn. Nyni a gynghorem ac a annogem yr holl ymfudwyr, a ewyllysiant adlenwi eu hystor mewn unrhyw ddull, i ddyfod i'r ddinas hon, gan fod peth angenrheidiol ac a brynir i'r daith, yn gyfleus i'w gael yma am bris rhesymol.

Nyni a danysgrifiwn ein hunain, yn ewyllyswyr da i'r bobl hyn.

CAPT. GEORGE BROWN,<br>
JOHN HOUSE,<br>
C. H. DODGE,<br>
S. C. BROWN,<br>
SOLOMON THOMAS,<br>
ELI. ROBERT.

[*I'r "Deseret News."*]

Yr ydwyf fi yn ymdeithydd o Swydd Guernsey, Ohio, a chlywais y Mormoniaid yn cael eu darlunio fel pobl wael a gresynol. Yr wyf fi, gan hyny, yn dweyd wrth yr ymdeithwyr cyffredin, na welais erioed bobl mwy tyner, onest, ac urddasol nâ'r rhai hyn; ac eu bod yn cael eu camddarlunio yn enbyd, nid oes yn aros ynof y rhith lleiaf o ammheuaeth. Ni chefais y pleser o adnabod Mr. Young, ond digon yw dywedyd fod y bobl sydd o dan ei Lywyddiaeth yn ddedwydd, siriol, ac hynaws, a gallaf ychwanegu, yn foneddigaidd.

RIENZI, *neu* NEWTON M. CURTIS.

[*I'r* " Deseret News."]

Mr. Golygydd,—Wrth osod i mewn yr hyn a ganlyn, chwi a roddwch ffafr i gyfaill, ac ewyllysiwr da eich achos chwi :—

Myfi a ddaethym i'ch Dyffryn hardd ar y 12fed o Orphenaf, mewn iechyd da, yn nghwmpeini Captain Brown, o Fulton, Ohio. Nyni a gawsom bob rhwydd-deb ar y ffordd. Myfi a allaf ddweyd wrth fy hen gyfeillion oll yn Big Sandy Va, fod y chwedlau sydd ar led am y Mormoniaid yn anwireddus. Ni fum erioed mewn gwell gwlad, nac yn mhlith gwell pobl yn fy mywyd. Y mae pob math o rawn a llysiau yn tyfu mewn cyflawnder, ac nid oes a ragora arnynt yn un rhan o'r Unol Daleithiau. Dr. Childs, Billy Williams, rhoddwch heibio yfed gwirod ; dewch allan yma, a chwi a ddewch ill dau yn gyfoethog ; gadewch yr hen fad i fyned i lawr i'r ffrwd. Bill Willson, ymgedwch oddiwrth Dr. Mc, Ginnis.

JOHN WILSON,
Big Sandy Raftsman Va.

(Cyfieithad Morgan Jenkins, Cefn.)

---

## CYMMANFA DDYDDORAWL NEILLDUOL,

*A gynnaliwyd yn Ninas y Llyn Halen Fawr, Awst* 28, 1852.

(O'r " Millennial Star.")

TRWY lythyron diweddar o Ddinas y Llyn Halen Fawr, deallwn fod Cymmanfa Neillduol wedi ei chynnal yno ar yr 28ain o Awst, yn yr hon yr oedd 2500 o bersonau yn bresennol. Cafodd cryn lawer o faterion pwysig eu trafod, yn mhlith y rhai yr oedd penodiad cant a chwech o Henuriaid ar genadiaethau i wahanol ranau o'r ddaear. Nid ydym wedi derbyn y " Deseret News" yn cynnwys cofnodion y Gymmanfa, eithr trwy y llythyron a dderbyniasom, galluogir ni i roddi enwau a chenadiaethau y gwahanol Henuriaid a benodwyd, y rhai ydynt fel y canlyn :—

AMERICA.

*Dinas Washington*—Orson Pratt, un o'r Deuddeg Apostol.
*Pottawatamie, Iowa*—Daniel Miller.
*St. Louis*—Horace S. Eldridge.
*New Orleans*—John Brown.
*Nova Scotia a'r British N. A. Provinces*—O. D. L. Buckland, Benjamin T, Mitchell, John Robinson, Joseph Millet.

*Texas*—Preston Thomas, William Camp.
*British Guiana*—Elijah Thomas, James Brown.
*West Indies*—Jessie Turpin, Darwin Richardson, Alfred B. Lambson, Aaron Farr.

EWROP.

*Lloegr a Gwledydd ereill*—Daniel Spencer, Charles A. Harper, Isaac Allred, John Van Cott, Mellen Atwood, Chauncey G. Webb, Charles Smith, Sylvester H. Earl, David Grant, Thomas W. Treat, Benjamin Brown, James T. Park, William Empy, Perrygrine Sessions, Osman M. Duel, John A. Hunt, Edward Martin, Levi E. Riter, John S. Fullmer, William Glover, Richard Cook, William Clayton, William Pitt, John Charles Hall, John Oakley, William Woodward, James G. Willie, Daniel D. Mc Arthur, Moses Thurstin, John Parry, Spicer Crandell, James Pace, Elias Gardner.
*Cymru*—Dan Jones, Thomas Jeremy, Daniel Daniels, Edward Griffin.
*Iwerddon*—Daniel Toner, John McDonald.
*Ffrainc*—Andrew L. Lamereaux.
*Germany*—George C. Riser, Jacob F. Secrist, George Mayer, William Taylor.
*Berlin, Prussia*—Orson Spencer, Jacob Houtz, Moses Clough.
*Gibraltar*—Edward Stevenson, Nathan T. Porter.
*Denmark*—George Perry.
*Norway*—Eric G. M. Hogan, Canute Peterson.

ASIA.

*Calcutta a Hindostan*—Nathaniel V. Jones, Samuel A. Woolley, Richard Ballantyne, Amos M. Musser, William F. Carter, Robert Skelton, Wm. Fotheringham, Truman Leonard, Robert Owen.
*China*—Hosea Stout, Walter Thompson, James Lewis, Chapman Duncan.
*Siam*—Chauncey W. West, Sterne Hotchkiss, Harlow Redfield.

AFFRICA.

*Cape of Good Hope*—Jessie Haven, Leonard I. Smith, William Walker.

AWSTRALIA A'R MOR TAWEL.

*Awstralia*—Augustus Farnham, William Hyde, Burr Frost, Absalom P. Dowdle, Josiah W. Fleming, Paul Smith, John Hyde, John S. Eldredge, James Graham, Noah T. Guyman.
*Ynysoedd Sandwich*—Ephraim Green, William McBride, James Lawson, Nathan Tanner, Reddick N. Allred, Reddin A. Allred, Thomas Kairnes, Egerton Snider, Benjamin F. Johnson.

## AMRYWIAETHAU, &c.

YSTRANCIAU twyllodrus ydynt arferion ffyliaid, y rhai n[illegible] oes ganddynt ddigon o synwyr i fod yn onest.

GWIRIONEDD sydd nid yn unig yn addurn i ddyn, ond yn offeryn iddo; dyma yw gogoniant y dyn cyfoethog, a chynnysgaeth y dyn tlawd. Gwirionedd neu eirwiredd dyn yw ei fywiolaeth, ei gymmeradwyaeth, a'i lythyr cyflwyniad i ffafr ereill.

DAEARGRYN.—Hysbysir ni gan "R. R"., fod cryn gynhwrf wedi ei achosi yn nhref Conway, trwy ddaeargryn a ddygwyddodd yno, ac mewn manau ereill, boreu dydd Mawrth, y 9fed o Dachwedd, rhwng pedwar a phump o'r gloch, yr hwn a barhaodd am ychydig fynydau. Syrthiodd ysbryd gweddi ar yr un pryd ar drigolion y dref, a phenderfynasant ddiwygio, rhag iddynt gael eu dadymchwelyd y tro nesaf; ac y maent wedi addaw rhoi benthyg lle cyfleus i'r Saint i gadw eu cymmanfa nesaf.

CALLINEB.

Mae pawb yn ddoeth tra tawant;
Ond rhai, pan y siaradant,
Pob gair o'u ceg, serch tybio'n gall,
Eu gwneyd yn anghall fyddant.

---

TALIADAU O HYD. 29 HYD TACH. 11.—Sir Aberteifi, £2; Gorllewin Morganwg, £4; Sir Fon, £1 5s; Pontytypridd, £1 6s; Cwmbach, £1 8s; Aberammao, 16s 5c; Hirwaen, 18s 2c; Georgetown, 19s 7c; Merthyr, £2 17s; Ffynnon Tydfil, 3s 10c; Troedyrhiw, 1s 7c.—Cyfanswm, £15 15s 7c.

LLYFR HYMNAU.—Dymunwn hysbysu fod y Llyfr Hymnau Dwbl olaf wedi cael ei werthu oll, ond fod rhywfaint o'r llyfryn 4c. yn aros ar law, y rhai a wnelont wobrwyon purion i blant yr ysgol sul. Hefyd, dymunwn hysbysu fod Llyfr Hymnau Newydd, o faintioli yr un Seisnig, yn awr yn y wasg, ac i ddyfod allan erbyn yr Udgorn nesaf yn barod i'w rwymo. Bydd yn cynnwys ugeiniau, os nad cannoedd, o hymnau newyddion, mewn cyssylltiad â'r hen hymnau goreu. Gellir cael gafael yn hymnau yr argraffiad olaf wrth yr un rhifnodau ag o'r blaen, a thrwy hyny gall y rhai a feddant yr hen lyfr ei ddefnyddio mor bell ag y cyrhaedd ei hymnau. Bwriedir rhwymo y llyfr newydd mewn croen llo, ac ymdrechir diwallu yr ymfudwyr yn flaenaf o neb, ac wedi hyny gall ereill ei gael. Hysbysir ei bris etto.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

**Rhif. 24.]** TACHWEDD 27, 1852. **[Cyf. IV.**


## ARAETH BRIGHAM YOUNG YN MHUMMED GYLCHWYL Y 24AIN O ORPHENAF.

(O'r "Deseret News.")

**Yr wyf yn ewyllysio gwneuthur rhai nodiadau yn unig, i'r gynmulleidfa hon, gan fod yr amser penodedig i ni y boreu hwn wedi ei bell dreulio. Y nodiadau a wnaethwyd cyn fy nghyfodiad ydynt yn dda iawn, megys y maent hefyd yn wir. Nid ydynt bethau newyddion i'r rhan fwyaf o'r dyrfa hon, er y gall fod rhai yn bresennol ag ydynt yn anwybodus o honynt.**

**Digon yw dywedyd, taw pum mlynedd i heddyw yr ymwelodd y Pioneers â'r Dyffryn hwn, gyda'u hoffer llafurwaith, &c., pa rai a arddangoswyd ganddynt yn yr orymdaith heddyw. Ni a ddaethom i'r perwyl o gael lle i osod ein traed, lle y gallem fyw mewn heddwch. Cawsom allan y lle hwnw. Os na all y Saint fwynhau yr heddwch hwnw pa un sydd mor anwyl iddynt yma, mi a ddywedaf fy mod i yn anwybodus o'r man ar y ddaear ag y gallant ei feddu. Pa le a allesid gael, lle y gallasem fwynhau rhyddid meddwl, rhyddid ymadrodd, a rhyddid addoliad? Os nad yn y mynyddoedd hyn, yr wyf fi yn anwybodus o'r lle.**

**Yr ydym wedi mwynhau perffaith ryddid yma am bump o flynyddau; ac hyderwyf, am lawer pump i ddyfod. Os erlidir y Saint, y mae er eu daioni; os y gyrir hwynt, y mae er eu daioni; o ganlyniad, pan ystyriwyf, nid oes genyf ddim i'w ofni yn yr**

holl erlidigaethau neu yr anhawsderau y gallaf fyned trwyddynt mewn cyssylltiad â'r bobl hyn, ond un peth, a hwnw yw, myned ar gyfeiliorn oddiwrth y grefydd a gofleidiais, a bod mewn anghof o fy Nuw. Os y gwelwch chwi neu myfi y dydd hwnw, cawn ar unwaith weled y câr y byd yr eiddo ei hun; a chystudd, erlidigaethau, marwolaeth, tân, a chleddyf, ni'n canlynant.

Os mawryga Saint y Dyddiau Diweddaf eu galwedigaeth, rhodio yn ostyngedig gerbron eu Duw, gwneyd y pethau sydd yn boddio eu Tad yn y nef, a byw i fyny i'w dyledswydd yn mhob ystyr, dywedaf yn eofn mai nid pum mlynedd yn unig, ond yr â ugeiniau o flynyddau heibio heb i'r Saint mwy gael eu haflonyddu neu eu gyru drachefn oddiwrth eu meddiannau: mor bell â hyn y mae er ein daioni.

Ni chyfodais er mwyn traddodi araeth ar yr achlysur hwn, ond i'ch adgofio am y bendithion ag y cawn yn awr y fraint o'u mwynhau. Pan y daethom gyntaf i'r dyffryn hwn, nid oedd dyn ar wyneb y ddaear erioed ag a welodd ddyffrynoedd y mynyddoedd hyn, neu a wyddai rywbeth am y Great Basin, a wyddai y gallesid codi llafur, neu unrhyw rawn arall yma? A ellwch chwi gael allan y dyn hwnw a wyddai ddim am y Great Basin, fel ei gelwir, a gredai y gallai fod tywysen o ŷd wedi addfedu ynddo? Nid yw y dyn hwnw ar y ddaear, gydag eithriad o'r bobl a elwir Saint y Dyddiau Diweddaf. Nyni a ddaethom yma, ac a blanasom ein hadau gerddi o bob math, bum mlynedd i heddyw; tyfasant, ond nid addfedasant, er y gallai yr hyddwenith fod wedi addfedu, ysgatfydd, pe cymmerasid gofal priodol am dano; rhyw ydau ereill hefyd a fyddent wedi dyfod i addfedrwydd, fel ag i gynnorthwyo trefedigaeth fechan i fyw yma: hwynt-hwy, pa fodd bynag, a fuont byw; pa fodd? A ddywedaf trwy ffydd? Gwnaf, mewn rhan felly; canys pe na buasai ganddynt ffydd, mae yn sicr nas gallasent fod wedi dyfod i'r lle hwn: ffydd Saint y Dyddiau Diweddaf a'u dygodd yma.

Y mae egwyddor ddirgelaidd iawn yn aros gyda'r bobl hyn; y mae yn ddirgelwch, ac yn un o'r dirgeledigaethau mwyaf i drigolion y ddaear ag a wnaed yn adnabyddus trwy hanesyddiaeth,

neu wybodaeth, o'r bobl hyn. A'r hyn a'i gwna yn fwy neillduol, meddant hwy, trwy ein holl gyfrifiaethau nis gallwn ei amgyffred; y mae mor ddirgelaidd, fel yn hollol y mae yn dyfod yn wyrth. Pa beth yw y dirgelwch mawr hwn? Hyn yw, bod Saint y Dyddiau Diweddaf hyn o un galon, ac un meddwl.

I Sant a phechadur, credadyn ac anghredadyn, dymunaf yma gynnyg un gair o hyfforddiad a chynghor, drwy ddadguddio yr hyn ag sydd yn arosol gyda'r bobl a elwir Saint y Dyddiau Diweddaf: Ysbryd y Duw byw sydd yn eu harwain; Ysbryd yr Hollalluog sydd yn eu rhwymo yn un; dylanwadau yr Ysbryd Glân sydd yn eu gwneyd i garu y naill y llall fel plant bychain; Ysbryd Iesu Grist sydd yn eu gwneyd yn ewyllysgar i osod eu bywydau i lawr dros achos y Gwirionedd; a'r un Ysbryd ag a achosodd i Joseph, ein Prophwyd merthyredig, i osod i lawr ei fywyd er mwyn y dystiolaeth o'r hyn a ddadguddiodd yr Arglwydd iddo. Y dirgelwch hwn, dirgelwch mawr "Mormoniaeth," yw, fod Ysbryd yr Arglwydd yn rhwymo ynghyd galonau y bobl. Edryched y byd arno. Dywedaf hyn mewn ffordd o annogaeth, os gwelwch yn dda. Sylled holl drigolion y ddaear ar y bobl hyn, y bobl ryfedd hyn, canys y mae gallu swynawl yn eu canlyn hwynt; rhywbeth dirgelaidd sydd yn crogi oddiamgylch iddynt. Pa beth ydyw? Nid gallu tyniadol ydyw; y mae yn rhywbeth mwy rhyfeddol; y cyfryw ag ydynt yn bresennol a allant ddywedyd yn wirioneddol ei fod yn rhyfeddol i'r eithaf. Pwy sydd yn rhoddi gallu i mi, fel "ar gyfeiriad fy mys," lluoedd Israel a gychwynant, ac ar fy arch trigolion y Diriogaeth fawr hon a symudant o'u lle; wrth fy ngorchymyn, y maent ger fy mron? Pwy sydd yn rhoddi i mi y gallu hwnw? Gadawer i'r byd ymholi. Duw y nefoedd a'i rhydd—Ysbryd yr Efengyl santaidd; nid yw o honof fy hun; yr Arglwydd Iesu Grist sydd yn ymdrechu achub trigolion y ddaear.

Mae y bobl yma; y maent yn parhau. A ddygasant hwy fara gyda hwynt yma? Naddo. A ddygasant eu bwyd gyda hwynt? Naddo. A ddygasant hwy yr hyn a'u cynnaliodd hyd oni chodasant ef o'r ddaear? Nis gallasent ei wneyd, canys yr oedd yn

rhaid iddynt wrth offerynau, erydr, tyn-gadwyni, &c.; yr oeddynt yn gorfod dwyn eu gwragedd a'u plant yn eu wageni; pump, a chwech, ac wyth, ac mewn rhai wageni byddai deg o bersonau wedi eu crugio ynghyd, i fyned fil o filltiroedd oddiwrth bob cynnaliaeth, ac yno planu eu hunain yn yr anialwch, lle nad oedd dim yn dyfod i olwg y llygad ond clogwyni eiryog, a glynoedd sychion; ac ymddiried yn Nuw Israel i'w dal hwynt i fyny. Gofyned y byd yr holiad,—A wnelai y Methodistiaid fel hyn redeg y perygl o golli eu bywydau dros eu crefydd? A wnelai y Presbyteriaid, y Bedyddwyr, y Crynwyr, neu eu hen fam, Eglwys Rhufain, redeg yr un perygl? A anturiai hi fel hyn i'r anialwch? Na wnai. Nid yn gyffredin y gellir cael corff cyfan o bobl ar y ddaear, fel yn achos Saint y Dyddiau Diweddaf, a wnelai hyn; er y gellid cael personau unigol mor benboeth ag i aberthu eu bywydau, a rhedeg i ffau y llew, yn brawf o'u ffydd yn eu crefydd; ond pa le mae y degau o filoedd, a'r ugeiniau o filoedd, a'r cannoedd o filoedd, y rhai a osodent i lawr bob egwyddor o fywyd a dedwyddwch, a phob peth sydd ddymunol mewn perthynas i'r byd hwn, er mwyn egwyddorion bywyd tragywyddol; ac a aent yn mlaen i'r anialwch, heb un atteg arall ond llaw Duw i'w harwain hwynt? Nid ydynt i'w cael!

Yr ydym yn cyfarfod yma, ac yn cadw ein dydd gwyl; pum mlynedd y buom yn y dyffryn hwn; ac mi a ddywedaf wrth y rhai ydynt newydd ddyfod, ein brodyr, neu y cyfryw a'r nad ynt yn frodyr, mai tair blynedd i fis Hydref diweddaf yr adeiladwyd y tŷ cyntaf yn y lle hwn. Nid oedd llathen o argae, na thŷ, oddieithr yr hen amddiffynfa, a choetty bychan. Yma yr ydym yn awr, yn gwasgaru allan o'r dwyrain i'r gorllewin, yn fesuryddol felly, ond yn eangach i'r gogledd a'r deau. Teithiwch trwy y dyffrynoedd, tremiwch ar y tai, a'r tyddynau, a gwelwch y diwygiadau a wnaed; cymmerwch ol-lwybr y "Mormoniaid;" canlynwch hwynt oddi yma i Nauvoo; o Nauvoo i'r Far West; yna i Kirtland; ac yn ol i Missouri, eilwaith i swydd Jackson; a phawb a gydnabyddant fod y "Mormoniaid" wedi cael digon i'w wneyd i ofalu am eu busnes eu hunain, a gwneyd y diwygiadau a

ddygwyd yn mlaen ganddynt: ni wnaethant ddim ond gofalu am eu busines eu hunain. Edrychwch ar y diwygiadau a ganlynasant y bobl hyn, yn eu holl deithiau i fyny i'r lle hwn, am dystiolaeth o'u dyoddefgarwch, a'u diwydrwydd diymattal.

Dywedaf wrth y werin yma, byddwch ostyngedig; byddwch ffyddlawn idd eich Duw, yn gywir i'w Eglwys, yn ddaionus i'r dyeithriaid a ânt trwy ein Tiriogaeth, a chariadus i bawb; gan wasanaethu yr Arglwydd â'ch holl allu, gan ymddiried ynddo, a pheidio byth ofni gwg y gelyn, na symud o'r llwybr uniawn trwy weniaith cyfeillion na gelynion. Gwasanaethwch eich Duw; credwch ynddo ef, ac na fydded arnoch byth gywilydd o hono, a daliwch i fyny eich cymmeriad o'i flaen ef; canys ni a gyfarfyddwn yn fuan mewn mwy cynnulleidfa nâ hon, a chawn gadw gwyl llawer amgenach: ni a gadwn wyl ein perffaith a'n hollol waredigaeth oddiwrth allu y diafol. Nid ydym yn awr ond yn cadw dydd ein gwaredigaeth o'r tai da o briddfeini a adawsom—o'n tyddynod a'n tiroedd, ac oddiwrth feddau ein tadau; yr ydym yn cadw dydd gwyl ein perffaith waredigaeth oddiwrth y rhai hyn.

Ein bywydau a arbedwyd, ac yr ydym etto ar y blaned hon; a maes o law ni a gadwn ddydd ein perffaith waredigaeth oddiwrth holl alluoedd daear: a ni a gadwn ein llygaid ar y nod, ac a awn yn mlaen i fuddugoliaeth.

Dywedaf wrth yr oedranus, canol oed, a'r ieuanc—byddwch oll yn ffyddlawn i'ch Duw, ffyddlawn i'ch brodyr, a charedig i bawb, gan wasanaethu Duw â'ch holl galon; a bydded iddo ef eich bendithio chwi er mwyn Iesu Grist. Amen.

*Cyf.* DEWI ELFED JONES.

---

## GWYBODAETH.

(O'r "Deseret News.")

MAE gwybodaeth neu ddealltwriaeth yn gynnyddol, yma ac yn y byd a ddaw. Mae rhai wedi meddwl na wnelai fawr o wahaniaeth pa un a ddysgant lawer neu ychydig, pa un a gyrhaeddant yr holl ddealltwriaeth o fewn eu cyrhaedd, neu beidio, tra yr arosant yn

y byd, gan gredu, os byddai iddynt dalu eu degwm, myned i gyfarfodydd, adrodd eu gweddiau, a chyflawni y dyledswyddau hyny a orchymynwyd yn neillduol, y byddai yn dda arnynt, ac mor fuan ag y rhoddent ymaith y corff marwol hwn, y caent weled megys eu gwelir, ac adwaen megys eu hadwaenir, y caent wybod pob peth, ïe, gymmaint â'u brodyr y rhai a aberthasant eu holl amser a'u talentau i gyrhaedd gwybodaeth a threiglo yn mlaen Deyrnas Dduw, yn ddisylw o gyfoeth, dyrchafiad personol, neu ofnau, gwg, a gweniaith y byd.

Eithr y mae hyn yn feddylddrych camsyniol, ac achosa i bob enaid i alaru, a'i cofleidio ac a'i hymarfero, pan gyrhaeddo yr enaid hwnw i fyd cyrff adgyfodedig (os bydd mor dra ffodus â chyrhaedd yno); canys hwy a gant allan, er eu tristwch, i Dduw ofyn ganddynt yn y byd hwn, nid yn unig ufydd-dod i'w ewyllys ddadguddiedig, eithr hefyd ymchwiliad i'w fwriadau a'u gynlluniau, y cyfryw ag a amlygid i'r rhai hyny ag oeddynt trwy ffydd ac amynedd yn barod ac ewyllysgar i gyssegru eu holl alluoedd, cynneddfau, a meddiannau, er llafurio i ddwyn yn mlaen les i'w Eglwys a'i Deyrnas Ef ar y ddaear.

Os, ar ein mynediad i sefyllfa arall o fodoliaeth, y cawn weled megys ein gwelir, hyny yw, fel ag y meddylia rhai, y cawn weled ac amgyffred Duw ein Tad Tragywyddol, megys ag y mae Efe yn ein gweled a'n hamgyffred ni, yna Duwiau a beidiant fod, yna holl ogoniant y deyrnas nefol a ddiflana; yr ardaloedd hyny o oleuni a gogoniant a deflir i *chaos*, a'r gwrthddrych gogoneddus o breswylfa dragywyddol a fuom yn ymgeisio am dani, a ddifodir, mor fuan ag y daw yr holl fodau ynddi yn gyfartal mewn gwybodaeth; canys yr Ydwyf mawr a goruchel yw gogoniant y Deyrnas hono, ac y mae ei ogoniant Ef yn gynnwysedig yn y dealltwriaeth bur a feddianna dros ac uwchlaw ei ddibynwyr a chreaduriaid ei wneuthuriad. Pan gyrhaeddont hwy yr un safon o wybodaeth ag Ef ei hun, byddant yn gwybod cymmaint ag yntau, ac ni fydd ganddo Ef mwyach awdurdod neu lywodraeth arnynt, a hyny, ynte, fyddai terfyn eithaf mawredd nefol dyn; gan fod yn gymmaint â'i Dduw, nis gallai fyned ddim yn uwch, eithr a gai fyw mewn cymmysgedd traphlith yn dragywydd.

Ai dyma yr hyn y mae'r Saint yn ymgeisio am dano? Nage! Hyn sydd yn cyfansoddi prydferthderau gogoneddus llywodraethau Lusiffer; y maent oll yn gymmysgedd, ac unpeth yn fyr o

hyny a fyddai yn uffern iddo ef a'i ddeiliaid. Mae holl luoedd uffern yn ymdrechu am y flaenoriaeth, i wybod pa fodd y gallant fyned uwchlaw eu blaenor, eu duw, a gwnelai hyn ddyryswch mewn unrhyw deyrnas. Eithr y mae ein Duw ni, Tad ein hysbrydoedd, wedi doeth ordeinio y drefn fwyaf perffaith trwy ei holl lywodraethau, ac yn y drefn hono Efe ei hun yw y pen, canys er fod arglwyddi lawer a duwiau lawer, etto i ni nid oes ond un Duw. yr hwn yw Tad ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist, ac efe yw ein brawd hynaf: a pha uchelaf y dyrchafom ni hwynt yn ein cyfrif a'n gweithredoedd, mwyaf i gyd fydd ein gogoniant ni.

Mae yr Iesu yn hysbysu i'w Saint, ei frodyr ieuengaf, pa beth y mae yn ewyllysio, a pha bryd y mae yn ewyllysio, yn ol eu ffydd a'u hufydd-dod; canys ei waith Ef yw sefydlu ei Deyrnas, trwy orchfygu a darostwng pob peth a gymmerant eu llywodraethu gan y cyfreithiau a reoleiddiant ei deyrnas, y rhai a roddwyd iddo ef gan ei Dad ef a ninnau; a phan ddarostyngo efe bob peth iddo ei hun, yna y Mab, ein brawd hynaf, a fydd ddarostyngedig i'w Dad ef a ninnau, yr un modd ag y gofyna y Mab i ni fod yn ddarostyngedig iddo yntau, fel y byddo Duw oll yn oll a thros bawb, yn ol fel ag y meddianna wybodaeth oruwch a thros holl greaduriaid ei wneuthuriad.

Gwybodaeth yw gallu, neu mewn gwybodaeth y mae gallu yn gynnwysedig; ac oblegid fod Duw yn gwybod mwy nâ neb o'i greaduriaid, llywodraetha hwynt yn ol ei ewyllys; eithr pe gallai dyn gyrhaedd yr un wybodaeth â'i Dduw, nis gallai Efe mwyach gael un llywodraeth arno, ac ni a gyfarfyddem drachefn y cymmysgedd traphlith hwnw ag sydd yn cyfansoddi uffern. Trefn sydd yn teyrnasu yn y nefoedd, ac annhrefn yn uffern.

Pa beth, ynte, a wneir, os yw dyn o gynnyddiad tragwyddol, mae yn rhaid yn ddiau y daw yr amser ag y bydd ef yn gwybod cymmaint ag y mae Duw yn awr yn wybod, bydded ei gynnydd mor lleied ag y byddo. Caniatâer y gwirionedd fod dyn wedi ei wneyd ar ddelw ei Dduw, a'r anhawsder a eglurir ar unwaith; canys os cafodd dyn ei ffurfio ar ei ddelw Ef, yr oedd efe wrth gwrs unwaith yn ddyn, ac o ddyndod, trwy gynnydd parhaus, daeth yn Dduw, ac efe a barhaodd i gynnyddu o'i ddyndod i'r amser presennol; ac ar yr un egwyddor, efe a all barhau i gynnyddu yn ddiderfyn. A gall dyn hefyd barhau i gynnyddu mewn gwybodaeth a gallu, mor fuan ag y dewiso, ac ymdrechu

dyfod yn gyffelyb i Dduw; ond gan fod gan Dduw fwy o broffad, gall gynnyddu yn gyflymach; o ganlyniad, nis gall dyn byth ddyfod i fyny â'i wneuthurwr, fel ag i adnabod ei Dduw, megys y mae ei Dduw yn ei adnabod ef.

Beth, gan hyny, yw meddwl yr ymadrodd, "gweled megys ein gwelir, ac adnabod megys ein hadwaenir?" Y meddwl yw, y cawn weled pob peth islaw i ni, yn ngbraddfa ein bodoliaeth, megys y mae Duw yn ein gweled ni a phob peth islaw iddo yn ngraddfa ei fodoliaeth Ef; canys pe gwelem ni yr oll a wel Duw, ni a ddylem wybod cymmaint ag a ŵyr Duw, a Duw a beidiai bod yn Dduw i ni, canys y mae y Duwdod yn arwyddo gwybodaeth a gallu; a phe bai dyn yn gwybod cymmaint â Duw, gallu dros ddyn a beidiai gyda Duw, a'r holl nef a droid yn werin-lywodraeth Bedlem. Ond Duw trwy ei wybodaeth, a gadwodd y goron iddo ei hun, ac at ei wasanaeth ei hun; a lle mae y goron, yno o anghenrheidrwydd y golygir fod teyrnas; a lle mae teyrnas, y golygir fod Brenin. O ganlyniad, nis gall llywodraeth y Nef fod yn werin-lywodraeth, yn ol amgyffrediadau byd drygionus; a phe buasai, nis gallasai fod brenin, canys cyfartaliad gwybodaeth yn y deiliaid a'i diorseddai ef; ac yna byddai cynhen dragwyddol pwy a gai lywyddu neu eistedd yn nghadair y Llywodraeth, neu weithredu fel cylafareddwr yn mhlith ei gydraddolion.

Pwy ag sydd yn pryderus edrych am ddyfodiant gogoneddus, a wresog ddymunai y fath sefyllfa ar bethau, y fath drefn o lywodraeth yn y bydoedd tragwyddol, fel y gallai efe fyned i lawr i'w fedd mewn heddwch, gan ganu Haleliwia! *vox populi vox Dei* (llais y bobl yw llais Duw), y bobl a deyrnasant yn hollalluog! a phan yr elom tu draw i lèn marwol fodoliaeth, ni a safwn yr un cyfleusdra i gael ein hethol i fod yn Llywydd dros y cyfan, â'r Duw a addolwn.

Ai hyn yw yr ansicrwydd gogoneddus a dawela eneidiau y Saint, tra y myfyriant am wireddau y bydoedd tragwyddol, a'u hadgyfodiad i fywyd tragwyddol? Os mai ofer yw eu gobeithion, ofer yw eu ffydd; a'u holl lafur, trafferth, trallodion, a'u dyoddefiadau sydd yn ofer, ac yn y diwedd medant wobr yn ol eu llafur, hau i'r gwynt i fedi trowynt, yr hyn a brawf mai us ydynt yn lle gwenith.

Ond gŵyr y Saint i bwy y credasant. Eu Duw yw Brenin

brenhinoedd, ac Arglwydd arglwyddi; ei lywodraeth sydd dros y cyfan, a rheola waith ei ddwylaw fel y gwelo efe yn dda; efe a wnaeth yn adnabyddus ei arfaethau, ac efe a'u cyflawna hwynt.

Yn hyn mae'r Saint yn llawenhau, fod eu Duw yn gwybod pob peth perthynol i'w lywodraethau; o ganlyniad, mae ganddo allu i reoli pob peth perthynol i'w blant, fel y gwelo efe yn dda: ac er pe byddai holl greaduriaid ei greadigaeth waeddi, *vox populi vox Dei*, efe a ddywedai wrthynt, Myfi wyf Dduw, ac nid oes arall ond myfi, i reoli fy ngweithredoedd; gwnewch chwi, gan hyny, pa beth bynag a orchymynwyf i chwi; a'r hwn na wna fwy nag a orchymynwyf, ac nad yw yn ceisio lles fy nheyrnas â'i holl enaid, ac nad yw a'i gydsyniad ei hun yn dyfeisio ffyrdd a moddau er llwyddiant fy nheulu, sydd was anfuddiol; nid yw y cyfryw yn feibion ond bastarddiaid a'r cyfryw a adawant fy ngwaith, ac a ganlynant eu hariangarwch, yr hyn a achosa iddynt redeg ar ol duw o'u dewisiad eu hunain, a gadael fy mhobl i fyned i lawr i golledigaeth; neu os y cedwir hwynt oll, bydd fel y meddiannont ogoniant llai, a chael llywodraethu drostynt, yn lle bod yn llywodraethwyr.

---

## YMFUDIAD.

(O'r "Millennial Star.")

I'r dyben o ymfudo y Saint â dim ond £10 y pen, y mae yn angenrheidiol i wneyd pob trefniadau angenrheidiol er gochelyd traul afreidiol; ac fel na achoser hyny ar y ffordd, anfonir Goruchwyliwr a fyddo yn dra chyfarwydd â'r gorchwyl, i'r Unol Daleithiau, i'r dyben o brynu wageni, ychain, ymborth, &c., a pha beth bynag arall ag sydd yn anghenrheidiol gogyfer â'r daith dros y gwastadedd, a'u gosod yn barod erbyn y cyrhaeddo y cwmnioedd ar y cyffiniau.

Er cyflawni yr amcan hwn, gofynir gan bob un a fwriada ymuno â'r cwmnioedd deg-punnoedd, i ddanfon yn ddioed i'n swyddfa ni y swm o £5, er ei gyru yn mlaen gyda ein goruchwyliwr.

Gofynir y swm flaenorol dros ben y blaen-dâl, a dylai yn ddieithriad gael ei danfon i ni trwy law Llywyddion y Cynnadleddau, ar neu cyn yr 20fed o Ragfyr. Ni ofynir y £4 gweddill hyd amser yr ymfudiad.

"Y mae hefyd yn ddoethineb i'r rhai nad ydynt yn ymuno â'r cwmnioedd deg-punnoedd, eithr sydd ganddynt fodd i ddarparu gweddeuau iddynt eu hunain, i ddanfon arian gyda ein goruchwyliwr er eu prynu. Gwna hyn arbed iddynt aros ar y ffordd, ac hefyd llawer iawn o drafferth a chost, yr hyn a fuasent hwy yn agored iddynt mewn amryw ffyrdd, wrth deithio trwy wlad ddyeithr, a chytuno ag estroniaid ynghylch eu darpariadau, a phethau cyffelyb.

Yn ol y prisiau a ddanfonwyd i ni, ni ddylai neb ddysgwyl y gall brynu gweddau cyfaddas i'r gwastadedd, yn gynnwysedig o ddwy iau o ychen, dwy fuwch, a wagen, am lai nâ £40; ac os chwennychant gael eu blawd a darpariaethau ereill wedi eu prynu iddynt gogyfer â'r daith dros y tir, dylai y swm arian a ddanfonir gael ei mwyhau i'r dyben hwnw.

Dylai enw pob dyn gael ei ddanfon i ni gyda'r swm arian a ddanfona, fel na byddo camsynied wrth ddychwelyd iddo ei chyflawn werth, yn yr hyn a orchymyno efe ei brynu.

Deallwn y gellir prynu pebyll a thô wageni, yn well yma nag yn St. Louis; ac ni a wnawn drefniadau er diwallu yr hyn oll a fydd yn ofynol i'r cwmnioedd deg-punnoedd. Byddai yn dda i bawb ereill a fyddont yn ymofyn pebyll neu dô wageni, ein hysbysu ni mor gynnar ag y bo posibl, fel y darparer ar eu cyfer yn ein trefniadau; hefyd, maintioli eu pebyll, neu nifer y personau y maent i'w cysgodi.

Y mae o'r pwys mwyaf i leshad y Saint, yn y tymmor ymfudiad dyfodol, fod y pethau hyn yn derbyn sylw dyladwy; ac os bydd rhywrai yn methu cael y swm ofynol, erbyn yr 20fed o Ragfyr, o herwydd eu bod heb derfynu eu busnes, &c., na fethent ei danfon y fynyd gyntaf fo posibl ar ol yr amser hyny.

Fel peth cyffredinol, byddai yn ddoeth i'r Saint a ymfudant o'r un Gynnadledd, i fyned gyda'u gilydd; er hyny, os bydd achosion, lle y bo amgylchiadau yn ei wneyd yn anghenrheidiol i bersonau ymfudo yn gynnar, ni a ddylem gael ein hysbysu yn brydlawn, fel y gallom osod i lawr eu henwau i fyned gyda ein llong gyntaf.

Yn gynnwysedig yn y pris cludiad i New Orleans, caiff y darpariadau canlynol eu rhoddi i bob teithiwr, yn hwylio ar ol yr 16eg o Ionawr, 1853; a hanner yr unrhyw i blant dan bedair blwydd ar ddeg oed a thros flwydd:—

Y lluniaeth gogyfer â'r fordaith i New Orleans, a ofynir gan Weithred Seneddol a wnaed yn mis Mehefin diweddaf:—

25 pwys o Fara neu Biscuit,
20 pwys o Flawd,
$37\frac{1}{2}$ pwys o Flawd Ceirch,
20 pwys o Rice,
5 pwys o Siwgr,
$1\frac{1}{4}$ pwys o Dê,
$1\frac{1}{4}$ pwys o Halen,
3 chwart o Ddwfr, bob dydd.

Mewn ychwanegiad at yr uchod, ninnau a roddwn—

10 pwys o Gig Tyrchyn,
5 pwys o Driagl,
3 pwys o Ymenyn,
2 pwys o Gaws,
1 peint o Finegr.

Bydd y lluniaeth yn cael ei roddi yn ddyddiol.

Caiff y llong neu y llongau a hwyliant cyn y 16eg o Ionawr, eu darparu ag ymborth dros bedwar ugain diwrnod, a'r rhai hyny a hwyliant ar ol y 16eg, dros ddeg diwrnod a thrugain, megys y gofyna y gyfraith.

---

## HENURIAID YN BWRIADU YMFUDO.

Yn mhlith y rhai ag ydynt yn awyddus i ymgasglu gyda'r Saint y tymmor ymfudiad dyfodol, a'r rhai ag ydynt yn cael ein cymmeradwyaeth i fyned, y mae amryw Fugeiliaid a Llywyddion Cynnadleddau, &c., enwau pa rai a gofnodwn yma:—

Cynghorwr i Lywydd yr Eglwys yn yr Ynysoedd Prydeinig—Levi Richards.

Cynghorwr i Lywydd yr Eglwys Gymreig—Thomas Pugh.

Bugeiliaid neu Lywyddion Adraniadau—Cyrus H. Wheelock, Jacob Gates, Moses Clawson, Isaac C. Haight, Appleton M. Harmon.

Llywyddion Cynnadleddau—Vincent Shurtleff, Claudius V. Spencer, Joseph W. Young, George Halliday, William Speakman, Richard Rostron, John Lyon, James McNaughtan, George Kendall, John Carmichael, John Kelly.—*Star*.

## Y NEPHIAID A'R LAMANIAID.

O, PWY a ddarfu chwilio
Yn y cof-lyfrau sy,
Ac a ddarllenodd hanes
Y drygfyd mawr a fu?
Y gweddill gyda Mormon
Adaw'd â'u bron yn brudd,
A welsant eu holl genel
Yn cyd-falurio'n bridd.

Ar ol dyfetha'r Nephiaid,
'R Lamaniaid fu yn hir,
Mewn trallod sy'n anhysbys,
Yn trigo yn y tir:
Aeth cenedlaethau heibio,
A daeth Cenedloedd blin
I'w plith i ranu 'u tiroedd
I gyd yn eiddo'u hun.

O, pwy a ddarfu weled,
Ar y cyfandir mawr,
Y bobl yma'n crwydro,
Heb nodded unrhyw awr,
Tra gwnai'r Cenedloedd beilchion,
Trwy drais a gormes flin,
Ddosparthu'r tir gyfrifent
Oedd gynt yn eiddo'u hun.

A phwy ag sydd yn credu,
Na ddysgwyl am y pryd,
Ca pechod a phob gormes
Eu gyru'n llwyr o'r byd;
A phan fydd i wirionedd,
Fel enfys yn y gwlaw,
Hardd ddangos yr addewid
O'r heddwch mawr a ddaw.

O, ti, hiliogaeth athrist
A gorthrymedig iawn,
Daw diwedd ar y dristwch,
A chai ymwared llawn:
Yr Arglwydd a'th gyhoeddodd
Yn weddill iddo Ef;
O Abra'm y disgynaist,
A chefaist sylw'r nef.

Dy feini 'n ogoneddus
Gan liwiau teg a fydd,
A'r saphir wna ddysclaerio
O amgylch it' rhyw ddydd:

Ffenestri gai o agat,
O fewn y wlad dda hon;
A'th byrth fydd lawn carbunclau,
I'th roesaw di yn llon.

Dychwela 'nol i Seion,
A'th orfoleddus gân;
Dy dristwch a dy ochain,
A ffoant o dy flaen;
Galluoedd mawr y nefoedd,
Ddont lawr i'th roi yn rhydd;
Yr Iesu fydd dy Brynwr,
Ac yn dy ganol bydd.

Pryd hyny'r gwyliedyddion,
Hwy a gyd-welant oll,
Pan Duw ddwg Seion etto,
'Rhon fu o'r byd ar goll:
Y blaidd a'r myn orweddant
Mewn heddwch llawn ynghyd,
A'r oen wna'r llew yn gyfaill,
Heb ofni'i wg un pryd.

Ca'r ddaear oll ei llenwi
Gan wir wybodaeth Duw,
Ac ni chaiff dim niweidio,
Na blino neb fydd byw:
A'r rhai'n yw y newyddion
A draethwn i bob un;
Cynnwysant fawr lawenydd,
A digon byth i ddyn.

---

## ADFEILION HEN DDINAS ARDDERCHOG YN YNYS TINIAN, YN Y MOR TAWEL.

(O'r "Edgartown (Mass., U. S.) Gazette.")

Cadben Alfred K. Fisher, o'r dref hon, a'n hysbysa pan ar ei fordaith forfilaidd, yn y llong America, o Bedford Newydd (yr hyn oedd ynghylch wyth mlynedd yn ol), iddo gael achlysur i ymweled ag Ynys Tinian (un o Ynysoedd Ladorne), i dirio rhyw ddynion cleifion. Efe a arosodd yno rai dyddiau. Un o'i wyr, ar ei daith o gylch yr ynys, a ddaeth i fynedfa prif heol adfeilion dinas fawr ac ardderchog. Cadben Fisher, wedi cael hysbysiaeth o'r ffaith, a aeth i mewn i'r ddinas trwy yr heol benaf, yr hon oedd ynghylch tair milltir o hyd. Yr oedd yr adeiladaeth oll o geryg, o liw tywyll, ac o'r desgrifiad ardderchocaf. Tua chanol-

bwynt y brif heol, cafodd allan ddeuddeg o golofnau ceryg celyd, chwech ar bob tu i'r heol; yr oeddynt ynghylch pump a deugain neu hanner can troedfedd o uchder, a cheryg aruthrol eu pwysau yn benau iddynt. Yr oedd y colofnau yn ddeg troedfedd o amgylchedd yn y gwaelod, ac ynghylch tair troedfedd yn y pen. Tybiai y Cadben Fisher y pwysai y colofnau tua thrugain neu drugain a deg o dunelli, a'r ceryg uchaf tua phymtheg tunell. Yr oedd un o'r colofnau wedi syrthio, a chafodd ef gyfleusdra teg i olygu ei chyfartaledd a'i chelfyddydwaith hardd. O'r brif heol ymwasgarai nifer mawr o heolydd ereill. Yr oeddynt oll yn uniawn, a'r adeiladau oeddynt o geryg. Yr oedd yr holl ddinas wedi ei gorchuddio â thyfiant coed cnau cocoa, y rhai oeddynt hanner cant a thrugain troedfedd o uchder. Yn yr heol benaf cafwyd darnau o lestri priddion cyffredin. Bu yr ynys yn meddiant yr Yspaeniaid am amser hir. Yr oedd chwech neu saith o'r Yspaeniaid yn preswylio yn yr ynys pan oedd Cadben Fisher yno. Hwy a'i hysbysasant ef i'r Yspaeniaid fod mewn meddiant o'r ynys am ddeugain mlynedd, ac iddynt ei chymmeryd oddiwrth y Knackas, y rhai oeddynt yn hollol anwybodus am adeiladwyr y ddinas, a'r trigolion blaenorol. Pan holwyd hwynt am ddechreuad y ddinas, eu hunig ateb oedd, "Mae yn rhaid fod hiliogaeth alluog wedi bod yma er yr amser maith yn ol."

Hefyd, gwelodd y Cadben fisher restrau anferth a geryg yn yr ynys hon, o ba rai y mae yn amlwg yr oedd yr adeiladau a'r colofnau wedi eu hadeiladu. Rhyw ranau o honynt a arddangosent eu bod wedi eu gweithio. Dyma waith i ddychymmygu. Pwy oeddynt sylfaenwyr y ddinas ardderchog hon unwaith yn Ngogledd y Môr Tawel, a pha beth a ddaeth o'u disgynyddion? Pa beth bynag fyddo yr ateb, mae yn eglur eu bod o radd uchel.

*Cyf.* D. E. JONES.

---

## YR YMFUDIAD.

TON—"Carphilly March."

DAETH yr awr ini'n llon, adael hen Babilon,
A morio tua Seion, o gaethiwed gwlad gelynion;
Dynion drwg, llawn o drais, sydd â'u llais yn un llef,
Am dywallt gwaed cyfiawnion, dynion doeth îs y nef;
Angel Duw rydd ei lef, geilw ni tua thref;
Mae Babel fawr i syrthio, a'i gogoniant oll i gilio;

Pläen hon sydd gerllaw; dydd ei chwymp buan daw;
I'r saint mae gwaredigaeth, ar fwyn dir Seion draw.
Mae'r faniar fawr o'n blaen, yn chwifio draw ar daen:
Dros frigwyn donau'r eigion, tua'r wlad sy'n llawn ben-
dithion,
Awn ar frys, mawr yw'r fraint i'r holl saint yno sydd,
Uwch cyrhaedd brad cynllwynion, heb un fron yno'n brudd.
"Yn iach i bawb yn awr," o'n ceraint, fach a mawr;
I Seion awn dan ganu clod i Dduw, a gorfoleddu,
'N gu ein bron, gawn yn hon; awn i lon wlad y wledd,
I feddu bythol wynfyd, iechyd pur, hir, a hedd.

Pwy yw'r rhai'n hedant 'nawr, yn llu mawr, oll yn mhell,
Fel cyflym golomenod i'w 'stafelloedd, rhag y difrod?
Dyma'r saint, heddyw sydd, meibion Duw, plant y dydd,
Yn llamu o'u caethiwed, draw y rhed 'rhai'n yn rhydd.
Llwyddiant mawr fydd i fod, dyna nod dawn y nef,
I ran y gwaredigion, yn nyffrynoedd mynydd Seion:
Meusydd llawn, o bob grawn, yno gawn yn ddi-gel;
Pêr winwydd ar ei dolydd, glenydd llaeth, maeth, a mêl:
Yno tyf aeron teg, cynnyrch hael ffrwythau chweg;
Gwinllanoedd, gerddi llawnion, a phêr lysiau a danteithion;
Celloedd llawn, lluniaeth llon, geir yn hon, goreu'n wir,
A heddwch Duw, fel afon, yn llifo dros ein tir.
Canu wnawn ar ein taith, dros donau'r eigion maith;
Dinasoedd mynydd Seion, aeth â bryd a serch ein calon;
Temlau hon bura'r fron wiwdda lon yn ddilyth;
Ei deddfau pur a'n cyfyd oll i glyd fywyd byth.

Henffych well, ddedwydd ddydd, pan na bydd poen yn bod,
Yn Seion, lle chwennycha Brenin nefoedd wneyd ei drigfa:
O!'r fath fraint, fawr ei maint, ni ddaw haint byth i hon;
A lluniaeth nef i'n lloni gawn, o fri ger ei fron;
Yn lle gwarth hyllig wedd, awn i gu wlad y wledd;
Is gwinwydd yr eisteddwn, dan y ffigysbreniau canwn;
Peraidd win gawn yn hon, ni fydd bron un mewn braw;
A gelyn i'n dychrynu, yn ei ddig, mwy ni ddaw;
Y dêg forwynig fydd, ar draed yn ysgafn rydd;
Gwyr ieuainc, a gwyryfon, a henafgwyr welir weithion;
O un fryd, gwyn ein byd, dawnsio'n nghyd yno wnawn;

Ein galar dry'n llawenydd, a hedd ar gynnydd gawn.
Llywydd doeth nef a llawr, gyda'i lu ddaw i lawr,
I Seion i deyrnasu gyda'r saint am fil o flwyddi:
'R'wyllys fawr, dros y llawr, wneir yn awr, fel 'n y ne';
Daw'r byd fel gardd yr Arglwydd, gyda llwydd yn mhob lle.

DEWI ELFED JONES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

DYNION rhinweddol a berchir yn gyhoeddus gan bob dyn da, ac yn ddirgel hyd y nod gan ddynion drygionus, gan fod pelydr rhinwedd yn llewyrchu i lygaid anewyllysgar i'w canfod.

Y DOETH a ymwrthoda â chlod; bod yn awyddus am glod a ddangosa deilyngdod bychan, a meddwl hunanol sydd gydymmaith gwastadol i anwybodaeth.

NA wenieitha, ac na chymmer weniaith; dilyn lais dy reswm, ac yna yr ydwyt yn ddiogel.

---

TALIADAU O TACH. 12 HYD TACH. 25.—Sir Fynwy, £4; Llanelli, £2; Sir Fflint, £1 10s; Sir Fôn, £2 16s 11c; Llanilltyd, 10s; Pontytypridd, 14s; Aberamman, 7s 1c; Dowlais, 9s 7½c; Hirwaen, 3s 3c; Georgetown, 16s 1½c; Merthyr, £1 7s; Pendaren, 4s; Ffynnon-Tydfil, 3s 2c; Troedyrhiw, 8s.—Cyfanswm, £15 9s 2c.

"J. H."—Mae yr ymddygiad y soniwch am dano, sef myned i dafarnau, yn hollol anweddaidd, ac yn beth y dylid ei roi heibio yn ddioed.

☞ Dymuna y Llywydd W. S. Phillips ar y cyfryw ag ydynt yn danfon ato am atebion, i gofio danfon stamps, onide nad allant ddysgwyl cael eu hateb, gan nad ydyw stamps, fel ag yr hysbysodd o'r blaen, yn tyfu.

LLYFR HYMNAU NEWYDD.—Yr oedd y gyfran olaf o'r Hymnau yn myned i'r wasg dydd Mercher diweddaf, a gyrir y llyfr i'r rhwymwr yn ddioed, fel y byddo rhai yn barod erbyn Nadolig. Cynnwysa 575 o Hymnau, a'r un nifer o dudalenau â'r llyfr Saesneg.

☞ Mae yn ddrwg genym na allasom ohebu â'r rhai a fuont yn ysgrifenu atom yn ddiweddar; yr oeddym yn rhy ddiwyd yn nghylch y Llyfr Hymnau.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 25.] RHAGFYR 11, 1852. [CYF. IV.

## PREGETH ANGLADDOL GYFFREDINOL POB SANT A PHECHADUR, YN NGHYD A'R NEFOEDD A'R DDAEAR.

GAN YR HENURIAD ORSON PRATT.

*A draddodwyd yn y Tabernacl, yn Ninas y Llyn Halen Fawr, ar y 25ain o Orphenaf, 1852, ac a ysgrifenwyd gan G. D. Watt.*

(O'r "Deseret News.")

YR ydys wedi dymuno arnaf i draddodi pregeth angladdol gwraig y brawd Levi Savage, yr hon a fu farw yn Rhagfyr diweddaf; ac er pan ddaethym i'r lle hwn y boreu yma, yr ydys wedi dymuno arnaf i bregethu pregethau angladdol amryw o'r Saint ag ydynt wedi marw yn Lloegr; ac yr wyf wedi penderfynu, yn lle cyfyngu fy anerchiad at unrhyw amgylchiad unigol, i bregethu yr hyn a ellir ei ystyried yn bregeth angladdol gyffredinol yr holl Saint ag ydynt wedi marw mewn oesoedd a chenedlaethau mynedol, ynghyd â'r oll a fyddant farw etto, a phregeth angladdol yr holl rai nad ydynt Saint, ac hefyd pregeth angladdol y nefoedd a'r ddaear; ac i'r dyben hyny, cymmeraf destun yr hwn a welwch yn ysgrifenedig yn y 51ain bennod o brophwydoliaeth Isaiah, a'r chwechfed adnod:—

"Dyrchefwch eich llygaid tua'r nefoedd, ac edrychwch ar y ddaear isod: canys y nefoedd a ddarfyddant fel mwg, a'r ddaear a heneiddia fel dilledyn, a'i phreswylwyr yr un modd a fyddant meirw; ond fy iachawdwriaeth i a fydd byth, a'm cyfiawnder ni dderfydd."

Y mae pob peth adnabyddus i ni, perthynol i'r ddaear hon, yn agored i gyfnewidiad; nid yn unig dyn, cyn belled ag y perthyna ei gorff tymmorol, eithr anifeiliaid y maes, ehediaid yr awyr, pysgod y môr, a phob peth byw ag y gwyddom am danynt,—y maent oll yn ddarostyngedig i boen a chaledfyd, ac yn y diwedd yn marw ac yn myned heibio; ymddengys fod gan farwolaeth lywodraeth gyffredinol yn ein creadigaeth. Mae yn ddiau yn fyd rhyfedd; diau nad edrycha fel byd wedi ei gyfansoddi i gynnyrchu dedwyddwch tragywyddol; a buasai yn mhell iawn oddiwrth y gwir, feddyliwyf, i unrhyw fôd, yn yr amser presennol, ei gyhoeddi yn dda iawn; y mae pob peth yn arddangos i ni fod daioni, i radd helaeth, wedi ffoi o'r greadigaeth hon. Os cyfranogwn o'r elfenau, y mae marwolaeth yno yn ei holl ddulliau a'i hamrywiaeth; a phan y dymunwn lawenychu, y mae trallod yn bresennol, yn ymgymmysgu yn mhob cwpan; a gwae, a thrueni, ac adfyd, a ymddangosant fel pe cyfansoddent ein tynghed bresennol.

Y mae rhywbeth, er hyny, mewn dyn, ag sydd yn gysson ymgyrhaedd yn mlaen ar ol dedwyddwch, ar ol bywyd, ar ol pleser, ar ol rhywbeth i foddio y dymuniad hiraethus sydd yn llettya o fewn ein mynwesau. Paham y mae genym y fath ddymuniad? A phaham nad yw yn cael ei foddloni? Paham y mae y greadigaeth wedi ei chyfansoddi felly? A phaham y mae marwolaeth yn teyrnasu yn gyffredinol dros bob peth byw daearol? A wnaeth Awdwr mawr creadigaeth lunio y bellen fechan hon o'n heiddo ni, yn ddarostyngedig i'r holl gyfnewidiadau hyn, y rhai a gynnyrchant drallod a marwolaeth yn mysg y bodau sydd yn ei phreswylio? Ai dyma sefyllfa ddechreuol ein creadigaeth? Atebaf, nage; nid oedd wedi ei chyfansoddi felly. Ond pa fodd y gwnaed hi yn y dechreu? Cafodd pob peth a wnaed yn berthynol i'r ddaear hon, eu cyhoeddi yn "dda iawn." Lle y mae poen, lle y mae afiechyd, lle y mae trallod, a lle y mae marwolaeth, nis gallai y dywediad hwn gael ei ddeall yn ei ystyr llythyrenol; nis gall pethau fod yn dda iawn lle bo rhywbeth drwg iawn yn teyrnasu ac yn meddu llywodraeth gyffredinol.

Gorfodir ni, gan hyny, i gredu, fod pob peth, yn ffurfiad cyntaf ein byd, mor bell ag y rhodda yr hanes Foesenaidd hysbysiaeth, yn berffaith yn ei ffurfiad; nad oedd dim yn yr awyr, neu yn y dyfroedd, neu yn yr elfenau cyfansoddol, ag oedd wedi ei gym-

hwyso i gynnyrchu adfyd, trueni, anhapusrwydd, neu farwolaeth, yn y modd ag oedd yn gorffoledig y pryd hyny; nid am na wnai yr un elfenau, wedi eu corffoli ychydig yn wahanol, gynnyrchu yr holl effeithiau hyn; eithr fel ag ydoedd yn gyfansoddedig y pryd hyny, mae yn rhaid i ni addef fod pob temig o awyr, o ddwfr, ac o ddaear, wedi eu cyfansoddi fel ag i fod yn alluog i daenu bywyd ac anfarwoldeb trwy yr holl amryfal rywiau o fodoliaeth fywydol;—teyrnasai anfarwoldeb yn mhob dosparth o'r greadigaeth; o ganlyniad cyhoeddwyd hi yn dda iawn.

Pan wnaeth yr Arglwydd ehediaid yr awyr, a physgod y môr, i boblogi y nefoedd wybrenol, neu yr elfenau dyfrllyd, yr oedd yr ehediaid a'r pysgod hyny wedi eu llunio yn gyfryw yn eu natur ag i allu byw yn dragywydd. Dychymmygu rhywbeth yn wahanol i hyn, fyddai tybied i'r Hollalluog ffurfio yr hyn ag a fuasai wedi ei gyfaddasu i gynnyrchu adfyd a thrueni. Pa beth a ddywed Dafydd y Salmydd ar y pwnc hwn? Efe a ddywed y caiff holl weithredoedd yr Arglwydd barhau yn dragywydd. Ai ni wnaeth yr Arglwydd y pysgod? Do. Ai ni wnaeth Efe ehediaid yr awyr? Do. Ai ni wnaeth Efe anifeiliaid y maes, a'r ymlusgiaid, a'r pryfed? Do. A ydynt yn parhau byth? Nac ydynt, mewn ymddangosiad; ac etto fe ddywed Dafydd fod ei holl weithredoedd Ef wedi eu cyfansoddi ar yr egwyddor hono. A ydyw hyn yn wrth-ddywediad? Nac ydyw. Y mae Duw wedi rhoddi rhai hysbysiadau ereill mewn perthynas i'r gweithrediadau hyn. Y mae efe wedi caniatâu i'r dinystrydd ymweled â hwynt, yr hwn sydd wedi traws-feddiannu llywodraeth ac awdurdod benodol, gan ddwyn anghyfannedd-dra a dystryw ar bob llaw; y mae perffeithrwydd y cyd-gorffoliadau gwreiddiol wedi peidio. Eithr a ganiatâ yr Arglwydd i'r difrodiadau hyn deyrnasu yn dragywydd? Na wna. Mae ei allu Ef yn bodoli, ac y mae gallu y dinystrydd yn bodoli. Mae ei allu Ef yn bodoli, ac y mae gallu marwolaeth yn bodoli; eithr y mae ei allu Ef yn fwy nâ phob galluoedd ereill; ac o ganlyniad, pa le bynag y byddo traws-feddiannydd yn dyfod i mewn ac yn dystrywio rhyw rai o'i weithredoedd Ef, efe a adgyweiria y difrodiadau hyny, a adeilada yr hen adfeilion, ac a wna bob peth yn newydd: ïe, pysgod y môr, ac ehediaid yr awyr, ac anifeiliaid y ddaear, sydd raid iddynt etto, i'r dyben o gario allan fwriadau yr Hollalluog, gael eu cyfansoddi yn gyfryw ag a allont fyw yn dragywydd.

Byddai yn ddyddorawl i wybod rhywbeth ynghylch sefyllfa pethau pan y cawsant eu ffurfio gyntaf, a pha fodd y dygwyddodd i'r dinystrydd hwn ddyfod i mewn i'r greadigaeth ddymunol hon; pa beth oedd yr achosion, a phaham y caniatawyd hyny.

Yr oedd dyn, pan y lleolwyd ef gyntaf ar y ddaear hon, yn fôd anfarwol, yn alluog i barhau byth; yr oedd ei gnawd a'i esgyrn, yn gystal â'i ysbryd, yn anfarwol a thragywyddol yn eu natur; ac yn gyffelyb yr oedd yr îs-greadigaeth, y llew, y llewpard, y myn, a'r fuwch; felly yr oedd llu asgellog y greadigaeth, yn gystal â'r rhai hyny a nofient yn yr eigion mawr o ddyfroedd—yr oeddynt oll yn anfarwol a thragywyddol yn eu natur; ac yr oedd y ddaear ei hun, fel creadur byw, yn anfarwol a thragywyddol yn ei natur. Beth! a yw y ddaear yn fyw hefyd? Pe na byddai, pa fodd y cyflawnid geiriau ein testun, lle y llefara am y ddaear yn marw? Pa fodd y bydd farw yr hyn nid oes bywyd ynddo? "Dyrchefwch eich llygaid tua'r nefoedd," medd yr Arglwydd, "ac edrychwch ar y ddaear isod: canys y nefoedd a ddarfyddant fel mwg, a'r ddaear a heneiddia fel dilledyn, a'i phreswylwyr yr un modd a fyddant meirw." Yn yr un modd!—beth! y ddaear a'r nefoedd i farw?Ië, mae yn rhaid i'r nefoedd faterawl a'r ddaear oll i fyned trwy y cyfnewidiad hwn a alwn ni yn farwolaeth; ac os felly, mae yn rhaid bod y ddaear yn fyw yn gystal â ninnau. Fe gafodd y ddaear ei chyfansoddi yn gyfryw ag y gallai fodoli yn greadur byw i bob tragywyddoldeb, gyda'r holl luoedd anifeiliaid, ehediaid, a physgod ag a leolwyd gyntaf ar ei gwyneb. Eithr pa fodd y gellir profi fod dyn yn fod anfarwol? Cyfeiriwn chwi at yr hyn a ysgrifenodd yr apostol Paul ar y pwnc hwn: efe a ddywed mai trwy un dyn y daeth marwolaeth; ac efe a ddywed wrthym pa fodd y daeth: trwy drosedd un dyn y dygwyd marwolaeth i mewn yma. Eithr a ddygodd trosedd yr holl glefydau a'r trallod hyn, yr adfyd a'r trueni yma dros holl wyneb y greadigaeth hon? Trwy drosedd un dyn y mae hyd y nod y nefoedd i ddarfod fel mwg, a'r ddaear i heneiddio fel dilledyn?Ië, trwy drosedd un; ac oni bai ei drosedd ef, ni fuasai y ddaear byth yn ddarostyngedig i farwolaeth. Paham? O herwydd fod gweithredoedd yr Arglwydd wedi eu gwneuthur i fodoli byth; a phe daethai marwolaeth i mewn heb achos, a dinystrio y ddaear, a difrodi y nefoedd faterawl, ac effeithio dymchweliad a dystryw hollol a chyffredinol yn y gread-

igaeth ddymunol hon, yna gweithredoedd yr Arglwydd a beidient barhau yn ol yr addewid, gan fod yn anmherffaith yn eu ffurfiad, ac o ganlyniad ddim yn dda iawn.

Ond pa beth oedd y pechod hwn, a pha beth oedd ei natur? Mi a ddywedaf wrthych pa beth oedd: dim ond yn unig cyfranogi o ryw ffrwyth penodol. Ond, meddai rhywun, fe feddyliwn i nad oes dim niwed mewn bwyta ffrwyth. Ni fyddai, os na roddai Duw orchymyn ar y pen. Y mae pethau mewn natur ag a fuasent yn ddrwg heb orchymyn: pe na bai gorchymyn, buasai yn ddrwg i chwi ladd creadur diniwed, a'ch cydwybod eich hunain a ddywedai wrthych ei fod yn beth drwg. Y mae yn ddrwg i un dyn niweidio y llall, neu gwtogi iawnderau arall, yn annibynol ar un gyfraith ddadguddiedig; oblegid y mae y dyn anwar, neu y bôd Lwnw na chlywodd erioed am gyfreithiau ysgrifenedig y nef—yr hwn ni chlywodd erioed am gyfreithiau dadguddiedig Duw mewn perthynas i'r egwyddorion hyn—yn gystal â'r Sant, yn gwybod ei fod yn ddrwg i gwtogi iawnderau arall; mae hyd y nod natur y peth yn dangos ei fod yn ddrwg; ond nid yw felly mewn perthynas i lawer o bethau ag ydynt yn ddrwg, y rhai yn unig a wneir yn ddrwg trwy orchymyn.

Er enghraifft, dyma y dydd Sabboth; ni allai dyn na chlywodd erioed am gyfraith ddadguddiedig Duw ar y pwnc, byth feddwl ei fod yn ddrwg i weithio ar y dydd Sabboth; efe a'i hystyriai yr un mor iawn i weithio ar y dydd cyntaf o'r wythnos, ag ar y seithfed; ni allai efe ganfod dim yn natur y peth wrth ba un y gallai adnabod ei fod yn ddrwg. Felly hefyd mewn perthynas i fwyta ffrwythau penodol; nid oes un drwg yn hyny ynddo ei hunan, gorchymyn y Duw mawr a'i gwnaeth yn ddrwg. Efe a ddywedodd wrth Adda ac Efa, Dyma holl ffrwythau yr ardd; chwi a ellwch fwyta o honynt yn eofn, oddieithr yr un pren hwn a saif yn nghanol yr ardd; yn awr, gwyliwch, canys yn y dydd y bwytewch o hono ef, gan farw y byddwch farw. Oni chanfyddwn mai y gorchymyn a wnaeth hyn yn ddrwg. Oni bai y gorchymyn hwn, Adda a rodiai allan gan gyfranogi yn eofn o bob pren, heb ddim cnofeydd yn ei gydwybod; yn union yr un fath ag y gwnai y dyn anwar, yr hwn na chlywodd erioed ewyllys ddadguddiedig Duw, weithio ar y Sabboth, yr un fath â rhyw ddiwrnod arall, ac heb fod dim yn ei gydwybod ynghylch y mater. Eithr pan lofruddio dyn, efe a ŵyr ei fod yn gam, a'i gydwybod

a'i teimla, er na chlywodd erioed am Dduw; ac felly y mae gyda miloedd o ddrygau ereill. Eithr paham y gosododd yr Arglwydd ddyn dan yr amgylchiadau neillduol hyn? Paham na pheidiodd Ef roddi y gorchymyn, os oedd cyfranogi o'r ffrwyth, ar ol rhoddi y gorchymyn, yn bechod? Paham y bu gorchymyn o gwbl ar y pwnc, yn gymmaint ag nad oedd un drwg yn natur y peth i'w ganfod na'i ddeall? Yr oedd gan yr Arglwydd ddyben mewn golwg; er iddo lunio y greadigaeth hyfrydol hon, megys y mynegasom wrthych, yn ddarostyngedig i anfarwoldeb, ac yn alluog i barhau yn dragywydd, ac er iddo lunio dyn yn alluog i fyw byth, etto yr oedd ganddo Ef ddyben mewn golwg o berthynas i'r dyn hwnw, a'r greadigaeth a breswyliai. Pa beth oedd y dyben? A pha fodd y cyflawnir y dyben hwnw?

Wel, yr oedd eisieu ar yr Arglwydd i'r bôd deallgar hwn a elwid dyn, brofi ei hunan, yn gymmaint â'i fod yn oruchwyliwr, dymunodd Ef ar iddo ddangos ei hun yn gymmeradwy gerbron y Creawdwr.

Pa fodd y gellid gwneuthur hyn heb orchymyn? A ellwch chwi ddyfeisio rhyw ffordd ag sydd yn bosibl? A oes rhyw ddyn yn y gynnulleidfa hon yn meddu digon o ddoethineb i ddyfeisio rhyw ffordd trwy yr hon y gall bôd deallgar ddangos ei hun yn gymmeradwy gerbron bôd mwy deallgar, oddieithr trwy roddi rhyw gyfreithiau iddo i'w cadw? Nac oes. Heb gyfraith, heb orchymyn neu reol, ni fyddai unrhyw ffordd bosibl o ddangos ei gywirdeb; nis gellid dywedyd y cadwai efe yr holl gyfreithiau sydd yn llywodraethu bodau o gylch uwch, oddieithr ei fod wedi ei osod mewn sefyllfa i gael ei dreio, ac felly ei brofi pa un a gadwai hwynt ai peidio. Gan hyny yr oedd yn ddoethineb i brofi y dyn a'r wraig, felly yr Arglwydd a roddodd iddynt y gorchymyn hwn; pe nas bwriadai Ef i'r dyn gael ei dreio trwy y gorchymyn hwn, ni fuasai erioed wedi planu y pren hwnw, ni fuasai erioed wedi ei osod yn nghanol yr ardd. Eithr y mae'r ffaith ddarfod iddo ei blanu lle y gallai y dyn fyned ato yn rhwydd, yn dangos ei fod Ef yn bwriadu i'r dyn gael ei dreio trwyddo, ac felly profi pa un a gadwai efe ei orchymynion Ef ai peidio. Y gosp am anufydd-dod i'r gyfraith hon oedd marwolaeth.

Eithr oni allai Efe roddi gorchymyn, heb benodi cosp? Na allai! ffolineb, ie, gwaeth na ffolineb, fyddai i Dduw roddi

gyfraith i fod deallgar, heb benodi cosp wrthi, pe cawsai ei thori. Paham? O herwydd pob bodau deallgar a fwrient ymaith y drychfeddwl o gyfraith yn cael ei rhoddi, yr hon a ellid ei thori wrth bleser, heb fod y personau a'i tori yn cael eu cospi am eu trosedd. Hwy a ddywedent, Pa le mae yr egwyddor o gyfiawnder yn rhoddwr y gyfraith?—nid yw yma; nid ydym ni yn ei barchu Ef na'i gyfraith; nid oes cyfiawnder yn bodoli yn ei fynwes; nid yw Efe yn parchu cyfreithau ei hunan, canys goddefa iddynt gael eu tori yn ddigosp, a'u sathru dan draed gan y rhai a greodd; gan hyny, ni ofalwn ni am dano ef na'i gyfreithiau, na'i gyfiawnder hopedig ychwaith; nyni a wrthryfelwn yn ei erbyn. O ba lesbad a fyddai, pe na fuasai cosp wedi ei chyssylltu wrthi?

Eithr pa beth oedd natur y gosp hon? Yr oedd wedi ei doethordeinio i fod o'r fath natur ag i ddysgu dyn. Mae y cospedigaethau a gyfrenir yma i fodau dynol gan lywodraethwyr, breninoedd, neu lywiawdwyr, yn gyffredin o'r fath natur ag sydd yn eu llesoli hwynt.

Penodwyd Adda yn arglwydd ar y greadigaeth hon; yn lywodraethwr mawr, i ysgwyd teyrnwialen awdurdod dros yr holl ddaear. Pan droseddodd y llywodraethwr, y person a osodwyd i deyrnasu dros y greadigaeth ddymunol hon, cafodd yr oll o fewn ei lywodraeth deimlo yr effeithiau o hyny, yr un fath ag y mae tad neu fam, ag a fyddo yn troseddu cyfreithiau neillduol, yn fynych yn trosglwyddo yr effeithiau o hyny hyd y cenedlaethau olaf.

Mor fynych yr ydym yn gweled clefydau neillduol yn dyfod yn etifeddol, gan gael eu trosglwyddo i lawr o dad i fab am genedlaethau. Paham? O herwydd yn y lle cyntaf yr oedd trosedd, a'r plant a gyfranogasant o'i effeithiau.

A pha beth oedd helaethrwydd mwyaf y gosp am drosedd Adda? Mi a ddywedaf wrthych;—marwolaeth ydoedd. Marwolaeth pa beth? Marwolaeth y babell anfarwol—y babell hono lle na fu hadau marwolaeth, yr hon a ddoeth ffurfiwyd, ac a gyhoeddwyd yn dda iawn: cafodd hadau marwolaeth eu dwyn iddi. Pa fodd, ac yn mha ddull? Dywed rhai fod rhywbeth yn natur y ffrwyth ag oedd yn dwyn marwolaeth. Boed hyn fel y byddo, y mae un peth yn sicr—fe ddaeth marwolaeth i'r cyfansoddiad; fe ddaeth yno trwy ryw ffordd, a phechod oedd y prif offeryn trwy

ba un y dygwyd yr anghenfil hwn i mewn. Pe na byddai pechod, buasai yr hen dad Adda heddyw yn ngardd Eden, mor ganaid a gwridog, mor hoenus ac mor deg ag erioed, ynghyd â'i gymhares anwylaidd Efa, yn byw yn hell harddwch ieuenctyd.

Trwy un dyn y daeth marwolaeth, sef marwolaeth y corff. Pa beth sydd yn dyfod o'r ysbryd pan fyddo y corff yn marw? A fydd efe yn berffaith ddedwydd? A elai ysbryd yr hen dad Adda yn ol i bresennoldeb Duw, a thrigo yno yn dragywyddol, gan fwynhau holl ddedwyddwch a gogoniant y nef, ar ol i'w gorff farw? Nac elai; canys nid oedd cosp y trosedd hwnw wedi ei chyfyngu i'r corff yn unig. Pan bechodd, efe a bechodd â'r corff a'r ysbryd; nid y corff a fwytaodd y ffrwyth yn unig, eithr fe roddodd yr ysbryd yr ewyllys i fwyta; fe bechodd yr ysbryd, gan hyny, yn gystal â'r corff; yr oeddynt yn cytuno wrth gyfranogi o'r ffrwyth hwnw. O ganlyniad, ai nid oedd yr ysbryd i ddyoddef yn gystal â'r corff. Oedd. Pa gyhyd? Trwy holl oesau tragywyddoldeb, heb ddiwedd; tra yr oedd y corff i ddychwelyd yn ol i'w fam ddaear, a chysgu yno i bob tragywyddoldeb. Dyna oedd effaith y cwymp, a gadael allan y cynllun o waredigaeth; a phe na byddai cynllun o waredigaeth wedi ei ragbarotoi er cyn seiliad y byd, buasai dyn yn ddarostyngedig i ysgariad tragywyddol rhwng corff ac ysbryd—y naill i orwedd yn gymmysgedig â'i fam ddaear trwy holl oesau tragywyddoldeb, a'r llall i fod yn ddarostyngedig, trwy bob parhad dyfodol, i'r gallu a'i twyllodd, ac a'u harweiniodd hwynt ar gyfeiliorn; i fod yn gwbl druenus, neu fel y dywed Llyfr Mormon, "yn farw gyda golwg ar bethau perthynol i gyfiawnder;" ac yr wyf yn herio unrhyw fodau o'r fath i gael unrhyw ddedwyddwch, pan y maent yn farw gyda golwg ar bethau perthynol i iachawdwriaeth. Iddynt hwy, y mae dedwyddwch allan o'r cwestiwn; y maent hwy yn gwbl a thragywyddol druenus, ac nid oes gymhorth iddynt, a gadael yr iawn o'r neilldu. Dyna oedd y gosp a gyhoeddwyd uwchben y tad Adda, ac uwchben yr holl greadigaeth ar ba un y gwnaed ef yn arglwydd a llywodraethwr. Dyma yw yr hyn a elwir yn bechod gwreiddiol, a'r effaith o hono.

Eithr y mae geiriau hynod iawn yn Llyfr Mormon, at ba rai yn awr y dymunaf gyfeirio eich meddyliau; y maent yn darllen fel hyn: "Adda a syrthiodd fel y byddai dyn, a dynion ydynt fel y caffont lawenydd." Meddai un, pe na syrthiasai Adda, yma

nis gallai fod unrhyw hiliogaeth. Dyna yn union yw yr hyn a gredwn ninnau; ond pa beth yr ydych yn wneyd o'r geiriau hyny a roddwyd yn flaenorol i'r cwymp, pan y gorchymynwyd iddo amlhau a llanw y ddaear? Pa fodd y gallai efe amlhau a chyflawni y gorchymyn hwn, os "syrthiodd Adda fel y byddai dyn?" Gadewch i mi apelio at eiriau ereill yn y Testament Newydd: "Nid Adda a dwyllwyd; eithr y wraig, wedi ei thwyllo, oedd yn y camwedd," meddai yr apostol Paul. Wel, ar ol i'r wraig gael ei thwyllo, yr oedd yn ddarostyngedig i'r gosp; ie, wedi iddi gyfranogi o'r ffrwyth gwaharddedig, arni *hi* oedd y gosp, ac nid ar Adda; nid oedd ef wedi cymmeryd o'r ffrwyth, eithr yr oedd ei wraig. Yn awr, pa beth oedd i'w wneuthur? Dyma ddau fod yn ngardd Eden, y wraig a'r dyn; y mae hi wedi troseddu, wedi tori y gyfraith, a myned dan y gosp. Ac yn awr, meddyliwch pe bai y dyn wedi dywedyd, Ni chymmeraf fi o'r ffrwyth gwaharddedig hwn: y gair nesaf fyddai, Bwriwch hi allan o'r ardd; eithr gadewch i Adda aros yno, oblegid ni phechodd ef, ni thorodd ef y gorchymyn, ond ei wraig a'i torodd; twyllwyd hi, alltudier hi o'r ardd, ac o'm presennoldeb i, ac o bresennoldeb Adda; ysgarer hwynt yn dragwyddol. Gofynaf, a allent hwy, ar y telerau hyn, gyflawni y gorchymyn mawr cyntaf? Na allent. Adda a ganfu hyn, fod y wraig wedi ei gorchfygu gan y diafol yn llefaru trwy y sarff; a phan ganfu hyny, efe a ddeallodd y cai ei wraig ei halltudio o'i wyddfod: efe a ganfu hefyd, os na chymmerai yntau o'r ffrwyth gwaharddedig, na allai byth gael hiliogaeth; o ganlyniad, y mae gwirionedd y geiriau hyny yn Llyfr Mormon yn amlwg, sef "Adda a syrthiodd fel y byddai dyn." Efe a welodd ei bod yn angenrheidiol iddo yntau gyda hi, i gyfranogi o dristwch a marwolaeth, ac effeithiau amrywiol y cwymp, fel y gallai efe a hithau gael eu gwaredu o'r effeithiau hyn, a'u hadferyd yn ol i bresennoldeb Duw.

Y pren o ba un y bwytasant hwy eill dau, a elwid pren gwybodaeth da a drwg. Paham y gelwid ef felly? Mi a egluraf i chwi ddirgelwch, frodyr, paham y gelwid hwn felly. Nid oedd gan Adda ac Efa, tra yn ngardd Eden, y wybodaeth sydd genych chwi a minnau; mae yn wir fod ganddynt radd o ddealltwriaeth, eithr nid oedd ganddynt y profiad; nid oedd ganddynt y wybodaeth trwy brofiad megys sydd genych chwi a minnau: yr hyn oll a wyddent hwy oedd braidd yr hyn a wyddent pan ddaethant yno,

hwy a wyddent fod gorchymyn wedi ei roddi iddynt, ac yr oedd ganddynt ddigon o wybodaeth i enwi anifeiliaid y maes fel y deuent i fyny ger eu bron; eithr am wybodaeth o dda, nid oedd ganddynt, o herwydd ni chawsant erioed ddim yn wrthwynebol i dda wedi ei osod o'u blaen.

Ni a ddygwn esiampl gerbron. Er enghraifft, meddyliwch pe na buasech erioed wedi profi unrhyw beth melys—heb gael erioed y syniad o felysder—a allech chwi gael rhyw ddrychfeddwl cywir am yr enw melysder? Na allech. Ar y llaw arall, pa fodd y gallech ddeall chwerw, os na phrofasoch erioed chwerwder? A allech chwi egluro y term i'r cyfryw a fuont yn brofiadol o'r syniad, neu yn ei adnabod? Na allech. Mi a ddygaf esiampl arall. Cymmerwch ddyn a fu yn hollol ddall o'i febyd, ac ni welodd erioed y pelydr lleiaf o oleuni—a allech chwi ddesgrifio lliwiau iddo ef? Na allech. A wybyddai efe rywbeth am goch, glâs, neu felyn? Na wnai; nis gallech eu desgrifio iddo trwy unrhyw ffordd a allech gymmeryd mewn llaw. Eithr trwy ryw weithred bydded i'w olygon gael eu hagor, a gadawer iddo syllu ar belydrau yr haul yn adlewyrchu ar gwmwl gwlaw, a chynnyrchu yr enfys, lle y gallai weled amrywiaeth o liwiau, yna efe a allai eu gwerthfawrogi drosto ei hun; eithr dywedwch wrtho ynghylch lliwiau pan fyddo yn ddall, ni allai wahaniaethu rhyngddynt a darnyn o lestr pridd. Felly yr oedd gydag Adda cyn cyfranogi o'r ffrwyth hwn: nis gellid desgrifio da iddo ef, oblegid ni phrofodd y gwrthwyneb erioed. Gyda golwg ar gymmeryd mewn llaw i egluro iddo ef pa beth oedd drwg, byddai gystal i chwi gymmeryd mewn llaw i egluro i fôd, yr hwn ni fu fynyd erioed â'i lygaid yn nghau i'r goleuni, pa beth yw tywyllwch. Cafodd pren gwybodaeth da a drwg ei osod yno, fel y gallai dyn gyrhaedd rhyw wybodaeth neillduol nad allai gyrhaedd un ffordd arall; trwy gyfranogi o'r ffrwyth gwaharddedig efe a brofodd druenusrwydd; yna efe a wyddai iddo fod unwaith yn ddedwydd, eithr yn flaenorol ni allai efe amgyffred pa beth a feddylid wrth ddedwyddwch, na pha beth oedd da; eithr yn awr efe a'i gwyr trwy gyferbyniad; yn awr llenwir ef â thristwch a thrueni, yn awr efe a wel y gwahaniaeth rhwng ei sefylla flaenorol a phresennol, a phe gellid trwy ryw fodd ei adferyd i'w sefyllfa gyntaf, efe a fyddai yn barod i'w mwynhau, yr un fath â'r dyn na welodd erioed oleuni. Gadawer i'r dyn i ba un y bu holl brydferthwch

goleuni yn cael ei ddadblygu, a'r hwn na fu erioed mewn tywyllwch, gael ei amddifadu o'i olwg naturiol mewn moment, ar darawiad llygad; y fath gyfnewidiad fyddai hyn iddo ef; ni wyddai erioed ddim am dywyllwch o'r blaen, ni ddeallodd erioed yr egwyddor; nid aeth erioed i mewn i gyfres ei ddrychfeddyliau, hyd nes y daeth tywyllwch arno: yn awr efe a all amgyffred mai y cyfrwng y bodolai ynddo unwaith oedd goleuni. Yn awr, medd efe, pe gallwn ond yn unig gael fy ngolwg yn ol, mi a allwn ei gwerthfawrogi, canys yr wyf yn deall y cyferbyniad; adferwch fi yn ol etto i fy ngolwg, a gadewch i mi fwynhau y goleuni oedd genyf unwaith; gadewch i mi sylldremu ar weithredoedd y greadigaeth, gadewch i mi edrych ar eu hyfrydwch drachefn, a myfi a foddlonir, a'm llawenydd a fydd yn gyflawn. Efelly yr oedd gydag Adda; gadawer i'r ffordd gael ei pharotoi er ei brynedigaeth, a phrynedigaeth ei hiliogaeth, a'r holl greadigaeth ag sydd yn griddfan mewn poen am gael ei gwaredu; gadawer iddynt gael eu hadferyd yn ol etto i'r hyn a gollasant trwy y cwymp, a hwy a fyddant yn barod i'w werthfawrogi.

(*I'w barhau.*)

---

## DYFODIAD DIANGOL SAINT Y DRYSORFA YMFUDOL I'R DYFFRYN.

MAE yn ddywenydd i ddarllen yn y "Star" am Ragfyr 11, y llythyr a ysgrifenodd yr Henuriad F. D Richards o Ddinas y Llyn Halen Fawr, dyddiedig Medi 30, yn rhoddi hanes am ddyfodiad diogel y Saint a ymfudwyd trwy y Drysorfa Ymfudol Barhaus, i'r Dyffryn. Cafodd y cwmnioedd eu groesawi i mewn, a'r Llywyddion B. Young a W. Richards, ac ereill, ynghyd â'r côr pres, yn eu blaenori. Wedi cyrhaedd Union Square yn nghanol swn magnelau a sain swynol peroriaeth, anerchwyd y dyfodiaid gan y Llywydd Brigham Young yn ffordd bywyd, heddwch, ac iachawdwriaeth. Gwnaeth dyfodiad y brodyr o Loegr, &c., grym gyffroad trwy y ddinas, a bydd cofio hir am dano. Yr oedd wyth o'r Deuddeg yn y Dyffryn yr amser hyny, a dysgwylir. P. P. Pratt, A. Lyman, a C. C. Rich i fod yno ar y cyntaf o Ragfyr, pan y bydd y Deuddeg oll ynghyd unwaith yn rhagor, gyda'r eithriad o Orson Pratt, yr hwn sydd wedi myned i Washington. Gadawodd y cenadwn i Loegr a gwledydd ereill, oddeutu y 15fed o Fedi.

Mae y tywydd wedi bod yn ddymunol iawn, ac y mae yr ychydig wlaw yno wedi troi yr hin yn oerach, yr hyn a achosodd i rai gael eu cwympo gan y colera-morbus. Yr oedd y cwmnioedd ar y gwastadedd yn dylifo i mewn yn barhaus, ac yn hysbysu fod cwmnioedd y brodyr Kelsey a'r De La Mare, y rhai a gynnwysent y peiriannau at wneyd siwgr, gyda eu gilydd, a'u bod yn agos i Bridger. Y mae 23 iau o ychain, a llwyth o flawd, wedi eu danfon i'w cyfarfod. Bydd yr ychwanegiadau uchod at nerth Seion, yn effeithiol iawn er llwyddo y gwahanol sefydliadau. Mae F. D. Richards ac Erastus Snow yn bwriadu myned, ar ol Cymmanfa mis Hydref, i swydd Haiarn, i edrych ar ol y gwaith haiarn a'r gwaith glo. Dymuna y brawd Richards ei gofio at y Saint Prydeinig, ac addawa ysgrifenu etto.

---

## YR "UDGORN" WYTHNOSOL.

Mae yr amser yn awr with y drws pan y bydd i'r Udgorn ddyfod allan bob *wythnos*, yn lle pob bythefnos, fel yn bresennol. Hyderwn y bydd i bob ymdrech gael ei wneuthur er ei hwylusu, fel y byddo iddo hefyd ar yr un pryd gael cylchrediad helaethach. Os bydd i ni lwyddo i gael cylchrediad helaethach, byddwn yn alluog i osod mwy o lawer yn yr Udgorn nag a osodir yn bresennol, a hyny am yr un arian. Mae llawer iawn o newyddion o'r Dyffryn yn ein dwylaw, y rhai a ymddangosant yn argraffedig mor fuan ag y bo modd. Y mae cymmaint o honynt fel ag yr ystyria y *Star* yn anghenrheidiol i wneuthur llyfryn i ddyfod allan gyda y *Star*, er eu cynnwys. Fe gaiff y Saint weled rhai pethau yn dyfod allan ag a wna eu synu; ac yr ydym yn eu rhybyddio i fod ar eu gwyliadwriaeth, ac i weddio Duw am gael Ysbryd deall a doethineb, fel y gallont amgyffred a chredu y pethau hyny ag y mae yr Arglwydd wedi eu llefaru. Cawn weled y pryd hyny pa faint fydd yn credu y Beibl; canys y mae yr Arglwydd yn myned i ddangos i'w Eglwys ac i'r byd pa beth sydd yn ol y Beibl. Nid yw y byd yn gallu deall y llyfr hwnw, ac y mae llawer o'r Saint heb ei ddeall yn gwbl.

Bydd hyn yn galondid i ymdrechu gyda'r Udgorn *wythnosol*, ac i'w daenu mor gyffredinol ag y byddo posibl. Bydded i bob aelod yn mhlith y Saint i deimlo ysbryd gwerthu i'w ffryndiau a'i gymmydogion, ac yna yr ydym yn gwybod y gwerthir llawer yn

ychwaneg nag yn bresennol. Bydded i'r Llywyddion o bob gradd gymmeryd hyn dan sylw, ac ymdrechu gosod pawb ar waith i werthu yr UDGORN a llyfrau ereill, yn ystod y flwyddyn ddyfodol, a bydded i ni gael gwybod gan Lywydd neu Ddosparthwr pob Cynnadledd (a phob Cangen yn y Gynnadledd yma), pa nifer a allant werthu yn *fwy* y flwyddyn nesaf; ac erfyniwn gael gwybod o bob man erbyn y 25ain o Ragfyr (sef dydd Nadolig); a lle na fyddwn yn cael un wybodaeth, byddwn yn anfon yr **un** nifer ag arferol.

---

## RHYBYDD.

MAE arian y Drysorfa Ymfudol i fod i mewn yma erbyn dydd Gwener, y 24ain o'r mis hwn; ac y mae y *Cynnrychioliad hanner blynyddol* i fod i mewn erbyn yr ail ddydd o Ionawr, yr hwn sydd i gael ei wneyd i fyny hyd y dydd olaf o Ragfyr. Yr hyn sydd yn ofynol ydyw enw y Gynnadledd, nifer y Cangenau, Archoffeiriaid, Henuriaid, Offeiriaid, Athrawon, a Diaconiaid; hefyd pa faint sydd wedi eu tori allan, a'u bedyddio, ac wedi marw ac ymfudo, oddiar pan y gwnaed y Cynnrychioliad o'r blaen, ynghyd â'r cyfanswm o'r aelodau, a'r swyddogion a'r aelodau gwasgaredig. Gofaled pob Llywydd fod hyn yn cael ei ddanfon yma mewn amser.

Mae o Lywyddion Cynnadleddau yn ymfudo y tro nesaf,—Abednego Jones, Llywydd Cynnadledd Llanelli; William Parry, Llywydd Cynnadledd Sir Fflint; a John H. Davies, Llywydd Cynnadledd Dyffryn Conway, ond ei fod ef yn bresennol wedi ei ryddhau i gael talu ymweliad â'i berthynasau.

RHYBYDD UNWAITH ETTO.—Pawb ag sydd yn bwriadu Ymfudo y tro nesaf gyda'r Cwmpeini deg punnoedd, bydded iddynt ddanfon £5 yr un yma erbyn y 15fed o'r mis hwn; hefyd eu henwau, eu celfyddydau, a lle y ganwyd hwynt. Cofied pawb fod eisieu y £5 hyn heblaw y £1 o'flaen-dâl.

W. S. PHILLIPS.

14, Castle St., Merthyr, Rhag 6, 1852.

---

O. Y.—Er pan ysgrifenais yr uchod, y mae y Llywydd S. W. Richards, wedi bod yn ymweled â ni yn Merthyr; ac ar ddymuniad amryw o'r Saint, caniataodd i mi gael danfon cwmpeini y

Drysorfa Ymfudol, a'r cwmni deg punnoedd, yr un pryd, sef yn mis Chwefror; a bydd yn ddoeth i'r ymfudwyr ymdrechu bod yn barod erbyn dechreu y mis hwnw. W. S. P.

---

## TRUGAREDD DUW.

ARALLEIRIAD O SALM CXXXVI.

Ton—"Swiss Boy."

DYRCHEFWCH fawl i'r Arglwydd Dduw,
Dalonus a thrugarog yw:

*Cydgor.*

Molwn Dduw
Tra f'om byw;
Tra theilwng yw,
A'i drugaredd bery byth.

Ei enw taenwch maes heb goll,
Efe yw Duw y duwiau oll:
Molwn Dduw, &c.

Clodforwch ag un llais ynghyd
Arglwydd yr arglwyddi i gyd:
Molwn Dduw, &c.

Yr hwn â'i ryfeddodau mawr
A wna i grynu'r nef a'r llawr:
Molwn Dduw, &c.

Yr hwn a greodd uwch ein pen,
Mewn mawr ddoethineb, nefoedd wen:
Molwn Dduw, &c.

Yr hwn estynodd lân mewn bri
Y ddaear uwch ei dyfroedd hi:
Molwn Dduw, &c.

Yr hwn wnaeth yn yr entrych fry
Oleuadau mawrion lu:
Molwn Dduw, &c.

Yr haul i roddi yn ddiludd
Ei oleu hyfryd yn y dydd;
Molwn Dduw, &c.

A'r lleuad glaer, a'r ffaglawg sêr,
I'r dywell nos roi llewyrch têr:
Molwn Dduw, &c.

Yr hwn darawodd yn ei lid
Yr hynaf hâd drwy'r Aifft i gyd;
Molwn Dduw, &c.

Ac er sarhad ar Pharaoh cas,
Odd'yno dygodd Israel maes:
Molwn Dduw, &c.

Yr hwn a barodd, mewn modd clau,
I'r gwridgoch fôr ymhollti'n ddau:
Molwn Dduw, &c.

A dygodd Israel trwyodd, rhwng
Y muriau mawr o donau blwng:
Molwn Dduw, &c.

A chladdodd Pharaoh a'i lu croch,
Yn nrylliad muriau y Môr Coch:
Molwn Dduw, &c.

Ac a dywysodd ar eu taith
Ei bobl trwy'r anialwch maith:
Molwn Dduw, &c.

Yr hwn darawodd idd y llawr,
Mewn brwydrau, lawer brenin mawr:
Molwn Dduw, &c.

A chwympo wnaeth yn maes y gwaed,
Freninoedd enwog dan ei draed:
Molwn Dduw, &c.

Dymchwelodd Sehon ddewr, a'i wyr,
Lywyddent yr Amoraidd dir:
Molwn Dduw, &c.

A'r brenin Og, yr anferth gawr,
A'i rymus lu, a d'rawodd lawr:
Molwn Dduw, &c.

A'u tiroedd helaeth, yn ddigoll,
Yn etifeddiaeth roddes oll:
Molwn Dduw, &c.

Yn etifeddiaeth idd ei was—
I Israel yn drigfa fras:
Molwn Dduw, &c.

Yr hwn, o'i fawr dosturi'n hael,
A'n gwelodd yn ein cyflwr gwael
Molwn Dduw, &c.

Ac a'n rhyddhaodd yn ddilai
O orthrwm mawr yr Aifftaidd iau:
Molwn Dduw, &c.

Yr hwn ddiwalla yn ddidlawd
Ag ymborth addas bob rhyw gnawd:
Molwn Dduw, &c.

Gan hyny, unwn mewn un llef,
I foli Arglwydd Dduw y nef:
Molwn Dduw
Tra fom byw;
Tra theilwng yw,
A'i drugaredd bery byth.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Nid yw dynion cyfoethog, mewn gwirionedd, ond ymddiriedolwyr dros yr anghenus, ac edrychir arnynt felly pan elwir hwynt i roddi cyfrif.

Byddai clodydd yn werthfawr iawn, pe byddent yn ein cynnysgaethu â'r rhagoriaethau ag ydym mewn anghen o honynt.

Glo.—Mewn llythyr oddiwrth G. A. Smith, hysbysir fod gwythien newydd o lo wedi ei darganfod yn Swydd Haiarn, yn Nhiriogaeth Utah, yr hon sydd bum troedfedd o drwch, ac oddeutu milltir yn agosach i'r gweithiau haiarn nag un a gafwyd o'r blaen.

---

Taliadau o Tach. 26 hyd Rhag. 9.—Sir Fynwy, £2; Penfro Ogleddol, £3; Sir Ddinbych, £3; Caerfyrddin, £3 8s 9c; Dinas, 10s; Llanilltyd, 10s; Llanfabon, 5s; Cwmbach, £1 12s; Aberdar, 9s; Aberamman, 12s; Hirwaen, 3s. 3c.; Rymni, £1 6s 6c; Georgetown, 15s; Ffynnon Tydfil, 5s; Troedyrhiw, 5s 8c; Joseph Rogers, 2s.—Cyfanswm, £18 4s 2c.

Cymmanfaoedd.—Cynnelir Cymmanfa Sir Frycheiniog, ar y 26ain o Ragfyr; Merthyr, ar yr ail o Ionawr; Sir Fynwy, yn Nhredegar, ar y 9fed; Abertawy, ar y 16fed; Llanelli, ar y 23ain; Caerfyrddin, ar y 30ain; Aberteifi, ar y 6fed o Chwefror; Penfro Ogleddol, ar y 13eg; Penfro, ar y 20fed.

"D. D."—Mae y geiriau "cyfammod newydd" yn eithaf cywir, ac y mae yr hymn 25 o ganlyniad yn rheolaidd.

☞ Yr ydym unwaith etto yn dymuno ar ein brodyr i ddod i hol y llyfrau a rwymasom iddynt, cyn yr heneiddiont ormod.

"L. J."—Cofied ein Dosparthwyr na fyddwn yn gwerthu Llyfr Mormon, Ath. a Chyf., na'r Llyfr Hymnau, heb eu rhwymo.

☞ Cofied y brodyr fu yn addunedu clirio dyled y llyfrau, nas gellir cael y tair 0, os na fydd yr arian oll yn ein llaw ni am 12 o'r gloch canol dydd y 31ain o Ragfyr, o bellaf. Gwell fydd eu cael yn gynt. Gwyddom am lawer sydd yn sior o gyflawni eu hadduned.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 26.] RHAGFYR 25, 1852. [CYF. IV.


## PREGETH ANGLADDOL GYFFREDINOL POB SANT A PHECHADUR, YN NGHYD A'R NEFOEDD A'R DDAEAR.

GAN YR HENURIAD ORSON PRATT.

*A draddodwyd yn y Tabernacl, yn Ninas y Llyn Halen Fawr, ar y 25ain o Orphenaf, 1852, ac a ysgrifenwyd gan G. D. Watt.*

(Parhad o dud. 399.)

ER mwyn dangos i chwi effeithiau echryslawn y cwymp, nid yw yn angenrheidiol yn unig i ddweyd i'r hen dad Adda brofi y gosp hono, a rhoddi ei gorff i lawr yn y llwch; eithr y mae yr holl genedlaethau oddiar yr amser hwnw wedi profi yr un peth; ac y mae genych chwi, a minnau, a phob gwr, a gwraig, a phlentyn, i ddyoddef y gosp hono; hi a weinyddir arnom ninnau, ac felly y mawrygir cyfraith Duw, y cyflawnir ei eiriau, ac y caiff cyfiawnder ei gofynion. Nid o herwydd ein pechodau, yr ydym yn marw; nid o herwydd ein bod yn troseddu, yr ydym yn marw; nid o herwydd y gallwn gyflawni llofruddiaeth, neu ladrata, neu yspeilio, neu gymmeryd enw yr Arglwydd yn ofer; nid y pethau hyn sydd yn dwyn marwolaeth y corff; eithr pechod Adda sydd yn gwneyd i'r plentyn bychan farw, sydd yn gwneyd i freninoedd, tywysogion, a phenaduriaid farw, ac sydd wedi gwneyd i'r holl genedlaethau farw oddiar ei ddydd ef i lawr hyd yr amser presennol. Ai nid ydych yn tybied y dylai fod rhyw ffordd er ein gwaredu o'r drygfyd arswydus hwn? ni fu un llaw genym ni yn nhroseddiad Adda; nid oeddych chwi a minnau yno

yn cyfranogi o hono; eithr ein tad mawr oedd yr hwn a'i gwnaeth, a ninnau ydym yn dyoddef yr effeithiau o hono.

Ai ni all rhai o ddoethion meddygol yr oes—rhai o feddygon a doctoriaid mawrion ein dydd—ai ni allant hwy ddyfeisio rhywbeth newydd a wareda hiliogaeth Adda rhag y drygfyd arswydus hwn? Nid ydynt wedi gwneyd hyny etto. Yr oedd Dr. Brandreth yn cymmeradwyo ei feddyginiaeth at bob math o glefydau, a dywedid hyd y nod ei bod trwy ei gallu yn gyru agerfadau; eithr ni wnaeth un dyn yn anfarwol; ni achubodd un dyn; ac y mae yn ammheus i'r eithaf—y mae yn sicr nad oes un dyn yn y marwoldeb yma erioed wedi darganfod y feddyginiaeth hono ag a'n gwareda rhag yr effeithiau arswydus hyn a drosglwyddwyd i lawr o'n tad Adda hyd y pryd hwn. Y mae meddyginiaeth, ond nid ydyw i'w chael yn nghofres dyfeisiadau dyn; nid ydyw i'w chael yn ymysgaroedd y ddaear, neu i'w chloddio o unrhyw fwngloddiau; nid ydyw i'w phwrcasu ag aur California, neu drysorau yr India. Pa beth ydyw, a pha fodd y darganfyddwyd hi? Y Bod hwnw ag a wnaeth ddyn, ag a'i gwnaeth yn anfarwol a thragywyddol, y Bod hwnw sydd â'i fynwes yn llawn trugaredd, yn gystal â chyfiawnder, ac a ddengys i'r holl greadigaeth ei fod yn Dduw trugarog, yn gystal â Duw cyfiawn; Efe oedd yr hwn a ddarganfyddodd y feddyginiaeth ryfeddol yma er cadw dynolryw rhag effeithiau y farwolaeth dragywyddol hon. Ond pa bryd y mae hon i gael ei chymhwyso? Nid yn uniongyrchol, oblegid gwnelai rwystro ei amcanion Ef: pan fyddo y corff wedi myned yn ol i'r llwch, ac ar ol i ddyn ddyoddef yn ddigon hir am y pechod gwreiddiol, yna Efe a'i dwg allan i fwynhau holl hoen anfarwoldeb; Efe a ddywed wrth angeu am beidio ei flino mwy; Efe a sycha ymaith bob dagrau oddiar ei lygaid, oblegid y mae yn barod i fyw yn ei bresennoldeb Ef yn dragywydd, a syllu ar ei ogoniant, a thrigo yn ei bresennoldeb.

Mae y Gwaredwr mawr hwn yn gryfach nag angeu, yn fwy galluog na'r anghenfil echryslawn hwnw a ddaeth i'r byd, ac a ymosododd ar ei holl drigolion; Efe a'i halltudia ef allan o'r greadigaeth hon. Pa fodd y gwna hyny? Os mai cosp y pechod gwreiddiol yw tragwyddol ysgariad corff ac ysbryd, pa fodd y gall cyfiawnder gael ei gofynion, ac i drugaredd gael ei dangos i'r troseddwr? Y mae ffordd, a pha fodd? Trwy ddwyn i sylw ei Unig-anedig Fab, Mab ei fynwes ei hun, Cyntaf-anedig pob cre-

adur, gan ddal yr enedigaeth fraint dros bob creadigaeth a greodd, a dal allweddau iachawdwriaeth dros filiynau o fydoedd fel hwn; y mae ganddo hawl i ddyfod allan a dyoddef y gosp o farwolaeth dros feibion a merched syrthiedig dyn. Efe a gynnygiodd ei fywyd ei hun: ebe efe, Dad, mi a ddyoddefaf farwolaeth, er nad haeddais hi; gad i mi ddyoddef gofynion y gyfraith. Wele fi yn ddiniwed yn dy bresennoldeb; mi a gedwais dy gyfreithiau yn wastadol er dydd fy ngenedigaeth yn mhlith dy greadigaethau, trwy oesoedd mynedol i waered hyd yr amser hwn; ni fum erioed mewn gwrthryfel â'th orchymynion; ac yn awr mi a ddyoddefaf dros fy mrodyr a'm chwiorydd: boed i'th gyfiawnder gael ei fawrhau a'i anrhydeddu; dyma fi; gad i mi ddyoddef gofynion y gyfraith, a boed i farwolaeth a'r bedd roddi i fyny eu hysglyfaeth, a boed i hiliogaeth Adda oll gael eu rhyddhau, pob enaid o honynt yn ddieithriad. Dyma y ffordd y mae cyfiawnder yn cael ei mawrhau a'i hanrhydeddu, ac ni all neb o greadigaethau yr Hollalluog achwyn am dano, nad ydyw wedi ateb gofynion cyfiawnder; ni all un bod deallgar ddywedyd, Chwi a wyrasoch oddiwrth eich geiriau. Cyfiawnder a gafodd ei gofynion yn y cospedigaethau a dderbyniodd Mab Duw, cyn belled ag y perthyna trosedd Adda.

Mi a egluraf ychydig yn mhellach. Cyn belled ag y perthyna y trosedd hwnw, holl drigolion y ddaear a achubir. Yn awr deallwch fi yn gywir. Os oes rhyw ddyeithriaid yn bresennol ag nad ydynt wedi deall golygiadau Saint y Dyddiau Diweddaf, dymunaf arnoch i ddeall nad ydym mewn un modd yn cyfeirio at bechodau personol ein hunain; eithr cyn belled ag y perthyna pechod gwreiddiol ein tad Adda, y mae genych chwi a minnau i ddyoddef marwolaeth; a phob gwrryw a benyw a fu byw erioed ar y ddaearen hon a waredir o'r pechod hwnw. Ar ba ammodau? Atebaf, nid ar unrhyw ammodau o'n tu ni. Ond, meddai un, hwy ddywedant yn y lle o ba un y daethym i, y dylwn edifarhau am y pechod gwreiddiol. Ni waeth genyf fi pa beth a ddywedant wrthych, chwi a waredir o'r pechod gwreiddiol heb ddim gweithredoedd pa bynag o'ch tu chwi. Bu yr Iesu farw er eich gwaredu o hono, ac yr ydych mor sicr o gael eich gwaredu, â'ch bod yn byw ar wyneb y ddaear hon. Dyma y fath o brynedigaeth gyffredinol y mae'r "Mormoniaid" yn gredu ynddi, er mewn un ystyr o'r gair, y mae yn fath gwahanol o brynedigaeth gyffred-

inol i'r hon y bu y cenedloedd yn arferol o wrandaw. Yr ydym ni yn credu yn mhrynedigaeth gyffredinol holl blant Adda i bresennoldeb Duw, cyn belled ag y perthyna pechodau Adda. Hwy a gant waredigaeth gyffredinol o'r bedd. Nid yw wahaniaeth pa mor ddrygionus yr ydych; os ydych wedi llofruddio holl ddyddiau eich bywyd, a chyflawni yr holl bechodau y cymhellid chwi gan y diafol i'w cyflawni, chwi a gewch adgyfodiad; eich ysbryd a adferir i'ch corff. Pe na ddaethai yr Iesu, ni a hunasem oll yn y bedd; eithr yn awr, pa mor ddrygionus bynag y gallwn fod, os awn i waered i'r bedd gan gablu enw yr Arglwydd, yr ydym mor sicr o ddyfod i fyny drachefn â'n bod yn myned i waered yno. Hyn sydd rad ras heb weithredoedd; y mae hyn oll yn dyfod oddiamgylch heb weithredoedd o du y creadur.

Yn awr, gadewch i ni aros ar bwnc arall wrth fyned heibio. Ai ni wyddoch chwi, fy ngwrandawwyr, fod cyfraith arall wedi ei rhoddi er pan aeth dyn yn fod marwol? Ai Llyfr Mormon ydyw? Nage. Ar ol i ddyn fyned yn fod marwol, rhoddodd yr Arglwydd iddo gyfraith arall. Pa beth ydoedd? Yr ydych yn awr wedi dyfod i sefyllfa ag y gwyddoch dda a drwg trwy brofiad, ac mi a roddaf i chwi gyfraith gyfaddasedig i'ch cyflwr, medd yr Arglwydd, ac yr wyf yn gorchymyn i chwi yn awr na wneloch ddrygioni.

Pa beth yw y gosp? Ail farwolaeth. Pa beth yw hyny? Ar ol i chwi gael eich gwaredu o'r bedd, a dyfod i bresennoldeb Duw, chwi a gewch sefyll yno i gael eich barnu; ac os byddwch wedi gwneyd drwg, chwi a alltudir yn dragywydd o'i bresennoldeb—gorff ac ysbryd wedi uno ynghyd; dyma yw yr hyn a elwir yn ail farwolaeth. Paham ei gelwir yn ail farwolaeth? O herwydd mai ysgariad corff ac ysbryd yw y gyntaf, a'r ail sydd alltudiaeth yn unig—myned yn farw i bethau cyfiawnder; ac megys ag y sylwais eisoes, lle bynag y mae bod wedi ei osod yn y fath sefyllfa, yno y teyrnasa perffaith drueni; ni waeth lle y gosodwch hwynt; gellwch gymmeryd rhyw un o'r bydoedd nefol, a gosod miliynau o fodau yno ag ydynt yn feirw i gyfiawnder, a pha cyhyd y bydd cyn y gwnant berffaith uffern o hono? hwy a wnaent uffern o unrhyw nefoedd a wnaeth yr Arglwydd erioed. Yr ail farwolaeth yw,—y gosp gyssylltiedig â'r gorchymyn a roddwyd i hiliogaeth Adda, h.y., *Na wnewch ddrygioni*; canys os peidiwch gwneuthur drygioni, chwi a waredir oddiwrth drosedd

Adda, ac a ddygir yn ol i'm presennoldeb; ac os na pheidiwch wneyd drygioni, chwi a gospir â dinystr tragwyddol oddiwrth fy mhresennoldeb, ac oddiwrth ogoniant fy ngallu, medd yr Arglwydd.

Eithr, ebe un, y mae Efe mor drugarog, fel na roddai y fath gosp arnom. A welsoch chwi ddyn erioed a ddiangodd rhag y farwolaeth gyntaf? neu a gafodd ryw obaith o hyny? Naddo; nis gellwch gael meddyginiaeth i'w rwystro ef rhag myned i lawr i'w fedd. A fu rhyw ddiangfa i rywun yn y 6000 blynyddoedd a aethant heibio? Yn awr, os bu yr Arglwydd yn ofalus i wneyd pob gwr, gwraig, a phlentyn i ddyoddef cosp y trosedd cyntaf, pa fodd y tybiwch chwi y gellwch sefyll yn ei bresennoldeb, ac edrych ar ogoniant ei allu, a chael bywyd tragywyddol a dedwyddwch, pan y mae wedi dywedyd wrthych y caech eich alltudio oddi yno, ac y cawsai yr ail farwolaeth ei rhoddi arnoch? Am y cyffroad cyntaf, y mae Efe wedi gweinyddu cosp y gyfraith hyd at y llythyren; felly hefyd y gwna efe yn yr ail, ac nid oes diangfa. Ebe un, ai nid oes diangfa? Nac oes; ddim mor bell ag yr ydych chwi yn abl i ddarparu. Eithr mi a ddywedaf wrthych fod gwaredigaeth i ddyn o'r ail farwolaeth neu'r gosp hon, ac y mae yr Arglwydd yn aros yn Fod perffaith ac uniawn, a'i gyfiawnder yn cael ei fawrhau.

Y mae ffordd o ddiangfa rhag effeithiau troseddiadau personol eich hunain? eithr y mae yn wahanol i'r waredigaeth oddiwrth bechod gwreiddiol Adda. Yr oedd y waredigaeth oddiwrth y pechod hwnw yn gyffredinol heb weithredoedd, eithr y mae'r waredigaeth oddiwrth bechodau personol eich hunain yn gyffredinol gyda gweithredoedd o du y creadur,—yn gyffredinol yn ei natur, o herwydd ei bod yn rhwydd i bawb, eithr ddim yn cael ei derbyn gan bawb. Nid yw yr iachawdwriaeth, neu y waredigaeth oddiwrth eich pechodau eich hunain, trwy rad ras yn unig; y mae yn gofyn ychydig o weithredoedd. Eithr pa beth ydyw y gweithredoedd? Y mae Iesu Grist, trwy ei farwolaeth a'i ddyoddefiadau, wedi ateb y gospedigaeth, ar yr ammod o fod i chwi gredu ynddo, ac edifarhau am eich pechodau, a chymmeryd eich bedyddio er maddeuant o honynt, a derbyn dawn yr Ysbryd Glân, trwy osodiad dwylaw, a pharhau yn ostyngedig ac addfwyn, ac ymbilgar, hyd oni eloch i lawr i'ch beddau: ac ar yr ammodau hyn, yr Iesu a ddadleua drosoch gerbron y Tad, gan ddywed-

yd, O Dad, myfi a fum farw nid dros bechod Adda yn unig, eithr dros bechodau yr holl fyd, yn gymmaint ag y credant yn fy Efengyl; ac yn awr mae y personau hyn wedi edifarhau, y maent wedi diwygio eu bucheddau, ac wedi dyfod megys plant bychain yn fy ngolwg, ac wedi cyflawni y gweithredoedd a roddais iddynt i'w gwneuthur—ac yn awr, O Dad, boed iddynt gael eu hachub ag iachawdwriaeth dragywyddol yn dy bresennoldeb di, ac eistedd gyda mi ar fy ngorsedd, megys ag y gorchfygais ac yr eisteddais i gyda thi ar dy orsedd; a boed iddynt gael eu coroni, gyda'r holl rai santeiddiedig, ag anfarwoldeb a bywyd tragywyddol, heb eu bwrw ymaith byth mwy.

Ai nid ydych yn meddwl y derbyniai y Tad apeliad o'r fath hyn oddiwrth ei Unig-anedig Fab? Gwnai. Efe yw ein Heiriolwr ni, i ddadleu gerbron y Tad dros y rhai a gydsyniant â'i orchymynion, a chyfreithiau ei Efengyl. Mae y ffordd yn syml, mor syml a rhwydd nes y mae llawer yn camu drosti ac yn dywedyd, O, nid yw hyna o un pwys, nid yw o un lleshad, ni fydd o un daioni i gymmeryd ein bedyddio mewn dwfr. Eithr pe byddai yr Arglwydd heb ei gwneuthur ar gynllun syml, wedi ei chyfaddasu i alluoedd pawb, gallai fod ganddynt ryw esgus; eithr fel ag y mae, nid oes ganddynt ddim: yr oll sydd genych i wneuthur yw credu mai Iesu Grist yw Mab Duw, troi ymaith oddiwrth eich pechodau, attal gwneuthur drygioni, gan ddywedyd, O Dad, o hyn allan mi a beidiaf â phechod, ac a weithredaf weithredoedd cyfiawnder; mi a ymdrechaf wneuthur daioni holl ddyddiau fy mywyd; yr wyf yn tystio hyn ger dy fron y dydd heddyw trwy fyned i waered i ddyfroedd bedydd, ac felly fwrw ymaith yr hen ddyn, ynghyd â'i weithredoedd, a byw mwyach mewn newydd-deb buchedd. Os gwnewch hyn, yr ydych yr un mor sicr o gael eich gwaredu oddiwrth eich pechodau eich hunain, ynghyd â'u cospedigaeth, a chael eich dyrchafu i drigo yn mhresennoldeb Duw, megys ag y gwaredwyd neu y dyrchafwyd chwi o ddyfroedd bedydd. Hyn yw yr Efengyl, ei hegwyddorion cyntaf, trwy y rhai y gellir eich gwaredu oddiwrth eich pechodau eich hunain; a maes o law daw marwolaeth, a bydd i chwi yn felys; mae loesau pechod wedi peidio, a chwi a hunwch mewn hedd, gan fod wedi gwneuthur eich iachawdwriaeth yn ddiogel, ac wedi gwneyd eich dyledswydd yn dda, fel y rhai hyny y pregethwn eu pregeth angladdol y boreu hwn; ac felly y syrthiwch yn nghwsg, gyda chyflawn sicrwydd y deuwch i fyny yn moreu yr adgyfodiad cyntaf, gyda chorff anfarwol, fel hwnw ag oedd gan Adda cyn iddo gymmeryd o'r ffrwyth gwaharddedig. Hyn yw yr addewid i'r rhai a hunasant yn yr Iesu.

Pan adawo ein hysbrydoedd y cyrff hyn, a fyddant hwy yn ddedwydd? Nid yn berffaith felly. Paham? O herwydd fod yr ysbryd yn absennol o'r corff, nis gall fod yn berffaith ddedwydd tra fyddo rhan o'r dyn yn gorwedd yn y ddaear. Pa fodd y gall y dedwyddwch fod yn gyflawn pan na fo ond rhan o'r waredigaeth wedi ei chyflawni? nis gallwch fod yn berffaith ddedwydd

hyd nes y cewch dŷ newydd. Chwi a fyddwch yn ddedwydd, chwi a fyddwch yn esmwyth yn mharadwys; eithr chwi a fyddwch o hyd yn edrych am dŷ lle y gellwch fyned i mewn, a gweithredu megys y gwnelech mewn amseroedd gynt, ond yn fwy perffaith, gan feddu galluoedd rhagorach. O ganlyniad, mae yr holl ddynion santaidd ag ydynt wedi byw yn y dyddiau gynt, wedi edrych yn mlaen at adgyfodiad eu cyrff; oblegid y pryd hyny eu gogoniant a fydd yn gyflawn.

Pa beth a ddywedodd Paul ar y pwnc hwn, "Mi a ymdrechais ymdrech deg, mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd: o hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi, yr hon a rydd yr Arglwydd, y Barnwr cyfiawn, i mi yn y dydd hwnw." A ydych chwi yn deall yr ymadrodd hwn? Cofiwch nad oedd y goron hon am ba un y llefara Paul, yn cael ei rhoddi yn y dydd y byddwn farw; eithr y mae i gael ei rhoddi yn y "*dydd hwnw*"—dydd ymddangosiad yr Arglwydd; bydd yn cael ei rhoddi i'r holl rai a garant ei ymddangosiad ef; dyna y pryd y caiff Paul ei goron yntau; dyna yr amser y caiff y Saint a hunant yn ein dydd ni eu coronau—coronau o orfoledd—coronau breninol. Pa ddaioni a wnai coron i ddyn ag sydd yn druenus a gresynol? Mae llawer o bersonau wedi gwisgo coronau yn y bywyd hwn; y mae gormeswyr wedi cael coronau o adament ac aur; eithr pa lesbad ydynt? Dim yn y byd, oddieithr i fôd sydd wedi gwneyd ei hun yn berffaith ddedwydd trwy ei ufydd-dod. Eithr pa beth ydym i ddeall wrth y goron cyfiawnder hon, ag sydd i gael ei rhoddi i'r Saint? Yr ydym yn deall ei bod yn goron o ogoniant; ac y maent hwythau i fod yn freninoedd mewn gwirionedd. Y mae Ioan yn llefaru yn y bennod gyntaf o'i Ddadguddiad ef i'r Eglwysi yn ei ddydd, ac yn arddangos y bydd y Saint yn Freninoedd ac yn Offeiriaid; efe a ddywed, "Crist a'n gwnaeth ni yn Freninoedd ac yn Offeiriaid i Dduw a'i Dad ef;" a hyn hefyd tra yn y bywyd hwn.

Mewn man arall y mae yn llefaru am y rhai ag ydynt yn feirw—yngbylch eu bod yn canu cân newydd: "A hwy a ganasant ganiad newydd, gan ddywedyd, Ti a'n prynaist ni trwy dy waed, allan o bob llwyth, ac iaith, a phobl, a chenedl; ac a'n gwnaethost ni i'n Duw ni yn Freninoedd ac yn Offeiriaid." Gan hyny, cawn allan yma, oddiwrth y bennod gyntaf, iddynt gael eu gwneuthur yn Freninoedd ac yn Offeiriaid cyn iddynt farw; ac yn y dyfyniad nesaf, cawn eu bod etto yn dal eu swydd freninol ar ol iddynt farw, ac yn wir wedi gwneuthur caniadau i arddangos eu sefyllfa ddedwydd—Ti a'n gwnaethost ni yn Freninoedd ac yn Offeiriaid ar y ddaear: y mae gan yr Arglwydd, gan hyny, ryw ffordd i roddi yr awdurdod freninol hon.

A ydych chwi yn deall hyn, frodyr a chwiorydd? Pe byddech i lefaru, mi a gawn glywed aneirif leisiau yn ateb, Ydym, yr ym yn ei ddeall; mae yr Arglwydd wedi dadguddio yr ordinhadau; yr ym yn gwybod pa fodd y mae meibion a merched Duw yn cael y swydd freninol hon, tra yn byw yma yn y babell farwol hon.

Ni a awn heibio i hyna; digon yw dywedyd nad yw marwolaeth yn ei dwyn oddi arnynt; canys y maent i fod yn freninoedd, nid am ddiwrnod, neu dros y bywyd byr hwn, eithr y maent i barhau yn freninoedd i bob tragywyddoldeb; gan feddu eu gorseddau, a gweinyddu yn y dyledswyddau perthynol i'w swydd freninol. Wedi eu cymharu â hyn, pa beth yw teyrnasoedd bychain y ddaear hon o werth? Nid ydynt yn werth un clec bys. Mae breninoedd y byd yn arfer awdurdod benodol dros y cenedloedd—dros eu deiliaid, gan gyhoeddi cyfreithiau, a chyfansoddi llywodraethau, a'u rheoli hwynt; ac a ydych chwi yn tybied y bydd y Saint yn freninoedd yn y byd tragywyddol, ac yn eistedd i lawr ar eu gorseddau, heb arferyd galwedigaethau eu swydd? Nac ydych. Nid fel yna mae yr Arglwydd wedi cydgorffoli ei greadigaethau: os bydd breninoedd, gellwch fod yn sicr y cânt deyrnasoedd dan eu llywodraeth; hwy gânt awdurdod a llywodraeth; hwy a roddant gyfreithiau i'r rhai y rheolant arnynt; hwy a'u llywodraethant hwy trwy y swydd offeiriadol, oblegid y mae wedi ei chyd gyssylltu â'r swydd freninol, ac nis gellir eu gwahanu i bob tragywyddoldeb. A yw ein Duw ni mor gul a chrebachlyd yn ei deimladau, yn ei olygiadau a'i dueddiadau, ag y cyfyngai efe y swydd offeiriadol i'r belen fychan hon a breswyliwn ni? Nac ydyw. Mae gan Dduw olygiadau eangach; mae ei weithredoedd Ef heb ddechreu ac heb ddiwedd; y maent yn un cylchdro tragywyddol. Pa fath weithredoedd ydynt? Y maent i wneuthur creadigaethau, a'u poblogi â bodau byw, a'u gosod mewn sefyllfa i brofi eu hunain; ac i arferyd y swydd freninol ac offeiriadol er eu gwaredu ar ol iddynt ddyoddef poen, a thrallod, a chaledi; a'u dwyn hwynt i fyny i bresennoldeb Duw; fel y gallont hwythau, yn eu tro, ddyfod yn freninoedd ac yn offeiriaid i greadigaethau ereill a wneir, ac a lywodraethir ac a reolir gan y rhai hyny a feddant yr awdurdod briodol.

Nid ydym ni yn credu fod pob peth i gael eu cyfyngu i'r yspaid bychan hwn o amser yn y byd yma; eithr y bydd y Saint yn gwneuthur gwaith ag y bydd yn gyfaddas i fodau ag ydynt yn feibion Duw yn ystyr helaethaf y gair, ag ydynt yn gymhwys yr un fath â'u Tad; ac os felly, hwy a fyddant fel Duwiau, ac a lywodraethant dan y Bod hwnw ag sydd yn Arglwydd yr arglwyddi; a hwy a feddant y llywodraeth i bob tragywyddoldeb.

Ni a ddeuwn yn ol at ein testun. Yr ydym wedi bod yn siarad am bregeth angladdol y ddaear; mae y ddaear i heneiddio fel dilledyn, ac i fyned heibio. Yr wyf eisoes wedi profi i chwi ynghylch prynedigaeth dyn, a pha fodd y daw yn anfarwol a thragywyddol; yn awr bydded i ni edrych ar ol ei etifeddiaeth: ni a gawn weled pa un a ydyw i gael ei ddyrchafu i fyny i'r eangder, heb un etifeddiaeth i sefyll arni, heb un tir ar yr hwn i godi manna at fwyta, neu lin at nyddu a gwau gwisgoedd teg a dilladau ereill Gadewch i ni weled os mai bodoliaeth ansylweddol yw, megys y duw a wasanaethir gan y byd crefyddol, "heb gorff,

rhanau, na nwydau," ac yn preswylio "tu hwnt i derfynau amser a gwagle."

Mae y ddaear i farw; y mae eisoes wedi derbyn ordinhadau penodol, ac y mae ganddi i dderbyn ordinhadau ereill er ei hadferiad o'r cwymp.

Ni a awn yn ol at y greadigaeth. Yr hanes cyntaf a gawn am y ddaear, oedd ei bod yn orchuddiedig gan gyflawnder o ddyfroedd; iddi gael ei galw allan o groth yr elfen hylifol. Dyma oedd genedigaeth gyntaf ein creadigaeth,—y dyfroedd a giliasant yn ol, a'r tir sych a ymddangosodd, ac a ddilladwyd yn fuan ag hanfodaeth lysieuol ac anifeilaidd. Yr oedd hon yn debyg i bob genedigaethau ereill; wedi ei hamgylchynu yn gyntaf gan ddylif o ddyfroedd mawrion, hi a ruthrodd allan o honynt, ac a ddilladwyd yn fuan â holl brydferthwch y deyrnas lysieuol. Maes o law hi a lygrwyd trwy drosedd Adda, ac a ddygwyd felly dan ddedfryd marwolaeth, ynghyd â phob peth perthynol iddi; ac megys y dywed ein testun, mae yn rhaid iddi heneiddio a marw, yn yr un modd â'r preswylwyr sydd ar ei gwyneb.

Y nefoedd a'r ddaear a gawsant eu llygru felly, hyny yw, y nefoedd faterawl, a phob peth perthynol i'n daear ni; syrthiodd pob peth pan syrthiodd dyn, a daethant dan farwolaeth pan ddaeth dyn dani. Gwaredir y dyn a'r ddaear oddiwrth y pechod gwreiddiol heb ordinhadau; eithr yn fuan cawn fod pechodau newyddion wedi eu cyflawni gan feibion syrthiedig Adda, ac i'r ddaear fyned yn llygredig gerbron yr Arglwydd trwy eu troseddiadau. Mae angen am ordinhadau achubol at yr ail droseddiadau hyn. Ordeiniodd yr Arglwydd fedydd, neu drochiad y ddaear mewn dwfr, fel ordinhad gyfiawnhaol. Ebe ef wrth Noah, Adeilada arch er dy achubiaeth di a'th deulu, canys mi a drochaf y ddaear mewn dwfr, fel y golcher ymaith y pechodau a'i halogodd oddiar ei gwyneb. Ffynnonau y dyfnder mawr, a'r ffenestri fry, a agorwyd, a'r gwlawogydd a ddaethant, ac a orchuddiasant y ddaear, a'r tir sych a aeth o'r golwg yn nghroth y dyfroedd mawrion, megys ag yn y dechreuad. Y dyfroedd a lonyddasant; y ddaear a ddaeth allan yn wisgedig â diniweidrwydd, megys plentyn newydd eni, wedi ei fedyddio neu ei geni drachefn o'r diluw eigionol; ac felly yr hen ddaear a gladdwyd gyda'i holl weithredoedd, ac a gyfododd i newydd deb buchedd, a'i phechodau wedi eu golchi ymaith, megys y mae gan ddyn i gael ei drochi mewn dwfr er golchi ymaith ei bechodau personol ei hun.

Maes o law mae y ddaear yn myned yn llygredig drachefn, a'r cenedloedd yn ymfeddwi ar win digofaint Babilon fawr; eithr y mae yr Arglwydd wedi cadw yr unrhyw i dân; gan hyny efe a ddywed wrth y prophwyd Malachi, "Wele y dydd yn dyfod yn llosgi megys ffwrn, &c." Mae puredigaeth lwyr etto i ddyfod i ran y ddaear, a hyny hefyd trwy yr elfen fwy bwerus o dân; a'r anwir a losgir fel sofl. Pa bryd y mae hyn i fod? Mae i fod cyn y bydd i'r ddaear farw? Mae hyn yn arddangosiad o'r bedydd a dderbynir gan ddyn ar ol iddo gael ei fedyddio mewn

dwfr; canys yna y mae efe i gael ei fedyddio â thân ac â'r Ysbryd Glân, a'i holl bechodau i gael eu llwyr ddileu: felly y bedyddir y ddaear â thân, ac yr ysgubir ymaith ddrygioni oddiar ei gwyneb, fel y gorchuddier hi gan ogoniant Duw. Fel y gorchuddia y dyfroedd y dyfnder mawr, felly y gorchuddir ac y soddir y ddaear yn ngogoniant Duw, ac y tywalltir allan ei Ysbryd ar bob cnawd, cyn y bydd i'r ddaear farw. Ar ol yr ordinhad buredigol hon, bydd mil o flynyddoedd o orphwysdra, yn yr hyn ystod y bydd cyfiawnder yn llanw gwyneb y ddaear; ac yn fuan ar ol i'r mil blynyddoedd derfynu, cyflawnir geiriau y testun:—"Wele, y nefoedd a ddarfyddant fel mwg, a'r ddaear a heneiddia fel dilledyn," &c. Ar ol i'r ddaear heneiddio, a chyflawni mesur ei chreadigaeth, ac i bob peth gael ei wneuthur yn ol meddwl ac ewyllys Duw, efe a ddywed wrth y ddaear, Bydd farw. Pa beth fydd ei marwolaeth? Ai boddi fydd? Nage—y mae i farw trwy offerynoliaeth tân; y mae i ddyoddef marwolaeth yn debyg i lawer o'r merthyron; mae hyd y nod yr elfenau eu hunain i doddi gan wir wres, a'r bryniau i gael eu gwneyd fel cwyr gerbron yr Arglwydd. A gaiff y ddaear ei difodi? Na, nid oes y fath air yn ei holl ddadguddiadau Ef; ni fu y fath beth erioed yn wybyddus yn mynwes yr Hollalluog, neu unrhyw fod arall, oddieithr yn nychymmygion rhai yn yr oes yma, ag ydynt wedi traethu fod y byd i ddyfod megys "baseless fabric of a vision." Un o'r ffolinebau sectaraidd yw, fod yr elfenau a phob peth arall i gael eu taraw yn llwyr allan o fodoliaeth; nid yw yr Arglwydd erioed wedi dadguddio, neu feddwl, neu hyd y nod awgrymu am y fath beth.

Ni chaiff y ddaear ei difodi, mwy nag y caiff ein cyrff ar ol eu llosgi. Mae pob fferyllydd yn gwybod nad yw pwysau peth yn cael ei leihau trwy ei losgi. Rhaid i drefn bresennol pethau ddarfod, ac megys y dywed yr apostol Ioan, rhaid i bob peth ddyfod yn newydd, ac y mae yn mynegi pa bryd: y mae i fod ar ol y milflwyddiant. Mae y myned heibio hyn yn gyfartal i farwolaeth, ac y mae gwneyd pob peth yn newydd yn gyfartal i'r adgyfodiad. A ydyw y ddaear newydd i gael ei gwneyd yn gymhwys yr un fath â'r ddaear hon? Nac yw, eithr megys yr oedd y ddaear cyn dyfod pechod iddi; ac ni a gawn ei hetifeddu.

Dyma ein nefoedd ni, a meddwn yr hawl iddi trwy addewid, a hi a waredir trwy ffydd a gweddiau y Saint, ac ni a gawn hawl gan Dduw i ran o honi fel ein hetifeddiaeth.

O chwi ffermwyr, pan yr hunwch yn y bedd, nac ofnwch y bydd eich helyntion amaethyddol dros byth ar ben; nac ofnwch na chewch chwi byth mwy ddim perchenogi tir: eithr os ydych yn Saint, ymsiriolwch, canys pan ddeuwch i fyny ar foreu yr adgyfodiad, wele ddaear newydd wedi ei gwneyd, yn yr hon y triga cyfiawnder, a gwyn eich byd chwi, canys chwi a'i hetifeddwch. "Gwyn fyd y rhai addfwyn," meddai yr Iachawdwr, "canys hwy a etifeddant y ddaear," er y gallant farw heb droedfedd o dir. Mae Saint y Dyddiau Diweddaf wedi cael eu gyru o un perchen-

egaeth i'r llall, hyd nes y gyrwyd hwynt tubwnt i gyffiniau gwar-eidd-dra i'r anialdir, lle y meddyliwyd y buasent farw, ac y buasai hyny yn ddiwedd arnynt: eithr wele, y mae ganddynt hwy afael gadarn yn yr addewid yr etifedda y rhai addfwyn y ddaear, pan y deuant yma gyda chyrff anfarwol, ac yn alluog i fwynhau y ddaear. Gwir y gallwn gael digonedd o bethau y byd hwn, yn eu sefyllfa felldithiedig; eithr pa beth yw yr holl bethau hyn? nid ydynt ddim. Yr ydym ni yn edrych am bethau yn eu sefyllfa anfarwol, a bydd gan amaethwyr ffermydd mawrion ar y ddaear pan fo wedi ei chyfnewid felly. Ond na fyddwch mor gyflym, ebe rhywun, oni wyddoch nad oes ond ynghylch 197,000,000 o filltiroedd ysgwar, neu oddeutu 126,000,000,000 o erwau, ar wyneb y ddaear? A wna hyny gynnwys yr holl drigolion ar ol yr adgyfodiad? Gwna; canys pe safai y ddaear 8,000 o flynyddau, neu bedwar ugain canrif, a bod y boblogaeth yn fil o filiynau yn mhob canrif, buasai hyny yn bedwar ugain mil o filiynau o drigolion; ac ni a wyddom fod llawer o ganrifoedd wedi myned heibio na feddent y ddegfed ran o hyny: eithr a thybied mai hyny yw y nifer, buasai wed'yn erw a hanner i bob person ar wyneb y ddaear.

Eithr y mae peth arall i gael ei ystyried. A ydyw y rhai drygionus i dderbyn y ddaear yn etifeddiaeth? Nac ydynt: canys ni ddywedodd yr Iesu, Gwyn fyd y rhai drygionus, canys hwy a etifeddant y ddaear: yr addewid hon a wnaed yn unig i'r rhai addfwyn. Pwy yw y rhai addfwyn? Neb ond y rhai hyny a dderbyniant ordinhadau yr Efengyl, a byw wrthynt; rhaid iddynt dderbyn yr un ordinhadau ag a dderbyniodd y ddaear, a chael eu bedyddio â thân ac â'r Ysbryd Glan, megys y bydd y ddaear pan ddaw yr Iesu i deyrnasu arni am fil o flynyddoedd, a chael eu gwisgo â gogoniant Duw, megys y bydd y ddaear hon; ac ar ol iddynt farw megys y bydd y ddaear farw, hwy a gant eu hadgyfodi, megys yr adgyfodir y ddaear hon, ac yna dderbyn eu hetifeddiaeth arni.

Edrychwch ar y ddwy ganrif ar bymtheg ag sydd wedi myned heibio ar y rhan orllewinol o'r byd, yn ystod pa amser nid yw sain yr Efengyl erioed wedi ei chlywed o enau gwas awdurdodedig i Dduw. Tybiwch yn awr fod un o bob cant, allan o rifedi dirfawr poblogaeth y ddaear hon, yn derbyn cyfraith addfwynder, a chael hawl i dderbyn etifeddiaeth ar y ddaear newydd; pa faint o dir a dderbynient? Atebwn, hwy a dderbynient dros 150 o erwau, yr hyn a fyddai yn eithaf digon i godi manna, ac i adeiladu rhai trigfanau arno, a phalasau ardderchog; byddai yn eithaf mawr i godi llin i wneyd gwisgoedd, ac i gael perllanau godidog o goed ffrwythau; byddai yn eithaf mawr i'n gerddi blodau, a phob peth fydd eisieu ar yr hwsmon a'r llysieuwr, a pheth i hebgor.

Pa beth a wneid â'r rhanau gweddillawl? Gadewch i mi ddweyd un peth wrthych, yr hyn fe ddichon na feddyliodd rhai o honoch erioed am dano. A ydych chwi yn tybied y deuwn ni i fyny o'r bedd, yn wryw ac yn fenyw, ac na fydd genym yr un

fath serchiadau, ac anwyldeb, a mwynhad ag sydd genym yma. Bydd yr un teimladau pur o gariad ag a fodola yn mynwesau y gwrryw a'r fenyw yn y byd hwn, yn bodoli gyda saith gwaith mwy o fywiogrwydd yn y byd nesaf, gan gael eu llywodraethu gan gyfraith Duw; ni fydd dim llygriadau na throseddiadau ar iawnderau arall. Ai ni fydd gan ddyn ei deulu ei hun? Bydd; a'i dŷ a'i fferm ei hun, a'i feibion a'i ferched ei hun. A pha beth arall? Wel, y gwir yw, bydd i ddyn barhau i liosogi a llanw y greadigaeth hon, yn gymmaint ag na fydd wedi ei llanw gan y Saint adgyfodedig ar ol iddi gael ei gwneyd yn newydd.

A pha beth a wna efe pan fo hon wedi ei llanw? Wel, efe a wna fwy o fydoedd, ac a heidia allan fel gwenyn o'r hen gwch, gan barotoi preswylfeydd newyddion. A phan fyddo ffermwr wedi gwrteithio ei fferm, a magu llawer o blant, nes bo y lle yn dechreu myned yn rhy gyfyng iddynt, efe a ddywed, Fy meibion, mae digon o ddefnydd draw, ewch a chorffolwch fyd, a phoblogwch ef; a chwi a gewch gyfreithiau i'ch llywodraethu, ac a gewch ddeall ac amgyffred trwy eich profiad yr un pethau ag a wyddom ni; ac felly bydd yn un cylchdro tragywyddol, ac yn un cynnyddiad parhaus; a'r llywodraeth a roddir i'r rhai hyny a goronir yn freninoedd ac offeiriaid yn mhresennoldeb Duw.

Gallai llawer yn rhagor gael ei ddywedyd, canys nid ydym ond prin cyffwrdd â'r pethau hyn, dim ond yn unig troi yr agoriad fel y galloch edrych i mewn trwy y drws, a chanfod ychydig o'r gogoniant sydd yn aros y Saint. Gadewch i mi ddweyd wrthych, ni ddaeth i galon dyn i amgyffred y pethau a drysorodd Duw i'r rhai a'i carant ef, oddieithr ei fod yn llawn o'r Ysbryd Glân, a thrwy weledigaeth yn syllu ar y gorseddau, a'r llywodraethau, a'r tywysogaethau, a'r awdurdodau, ag ydynt wedi eu gosod dan ei reolaeth a'i lywodraeth Ef; ac Efe a ysgydwa deyrnwialen gyfiawn dros y cyfan.

Ni a ystyriwn hyn yn fath o bregeth adgyfodiadol i'r greadigaeth hon, a'r holl gyfiawnion a'i preswylia. Nid oes amser genym yn y bregeth hon i bregethu adgyfodiad y drygionus, na phwyntio allan y lle y trigant ynddo.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

NA ddywedwch ond ychydig am ddynion ag nas gellwch eu canmawl heb genfigen, na'u ceryddu heb berygl.

TALIADAU O RAG. 10 HYD RHAG. 22.—Llanelli, 3s 9c; Sir Aberteifi, £1; Abertawy, £14; Sir Feirionydd, £5 3s 2c; Sir Fon, £1 4s; Pontytypridd, £1 4s 6c; Dowlais, £1 4s 10c; Aberamman, 7s 9c; Hirwaen, 3s 3c; Georgetown, £1 16s 2c; Merthyr, £1; Cefn, 10s; Ffynnon-Tydfil, £1 0s 8c; Troedyrhiw, 9s 6c.—Cyfanswm, £29 7s 4c.

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# SEREN Y SAINT;

YN CYNNWYS

EGWYDDORION "GORUCHWYLIAETH CYFLAWNDER YR AMSEROEDD,"

HEWN

TRAETHODAU, LLYTHYRON, HANESION, PRYDYDDIAETH, &c.

"Nyni a iachasom Babilon, ond nid aeth hi yn iach; gadewch hi, ac awn bawb i'w wlad: canys ei barn a gyrhaedd i'r nefoedd, ac a ddyrchafwyd hyd yr wybrau."—JER. LI, 9.

"Dring rhagot, yr efengyles Seion, i fynydd uchel,"—ESA. XL, 9.

## CYFROL V.

---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD, CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN J. DAVIS, HEOL JOHN, GEORGETOWN.

1853.

# RHAGYMADRODD.

---

ANWYL DDARLLENWYR,—Wele ni wedi byw i weled terfyniad y bummed gyfrol o UDGORN SEION, tra y mae llawer o'n cydoesolion wedi eu rhifo gyda'r meirw; a melysder ein bywyd yw cyflwyno fel hyn un gyfrol ar ol y llall i ddwylaw ein lliosog ddarllenwyr. Diolchwn i Dad y trugareddau am yr holl fendithion a dderbyniasom hyd yma, ac yn neillduol am y wybodaeth a'r addysg rhagorol a gawsom trwy ein HUDGORN yn y gyfrol hanner-blynyddol gyntaf hon. Hyderwn fod ein darllenwyr oll yn gwerthfawrogi y geiriau dwyfol a ddylifant mor aml o Seion, y rhai ydynt yn fywyd a nerth i'r holl Saint. Ymdrechasom gyflwyno i'n brodyr yr hyn oedd faeth i'w heneidiau, ac yn felys i'w harchwaeth. Mae yn wir gael o honom fwyd dyeithr, etto nid amgen nâ'r bwyd a gafodd tad y ffyddloniaid, a llawer o'n brodyr o'n blaen. Tywynodd goleuni oddi draw arnom, a gwelsom gam-arferion y byd; ein heneidiau a ddewisasant drefn ein Duw, a mwyach y gorfoleddwn ynddi.

Wrth edrych yn ol ar ein gyrfa grefyddol, gwelwn fod gwaith Duw ar ei gynnydd yn mhob dull. Mae un flwyddyn ar ol y llall yn dadgan hyny yn uchel; ac fel y cyflyma amser, y cynnydda pwysfawrogrwydd ei waith mawr a rhyfeddol Ef. Gweddiwch, ynte, drosom, am i'r Arglwydd ein nerthu i udganu yr UDGORN yn well etto nag erioed, fel na fyddo achos genym i ymddiried yn ein doethineb, neu yn hytrach ein gwendid, ein hunain. Gwelwn fod y ddysgeidiaeth yn yr UDGORN yn gwella bob cyfrol, ac fe gynnydda i wella etto. Ymdrechwn, gan hyny, i'w ddal i fyny, fel yr atebo o hyd ddyben da, i ymweled yn wythnosol â meibion a merched Gwalia, a dysgu iddynt ffyrdd yr Arglwydd. Diolchwn i bawb sydd wedi cydweithio â ni yn nghylch yr UDGORN: na cholled neb o honynt eu gwobr. Bendithied yr Arglwydd ei holl Saint, a gwareded hwynt i Seion.

Yr eiddoch yn ostyngedig yn y gwirionedd,

JOHN DAVIS.

*Merthyr, Meh.* 23, 1853.

# CYNNWYSIAD.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 1.] IONAWR 1, 1853. [CYF. V.

## ANERCHIAD Y GOLYGYDD AR DDECHREU Y FLWYDDYN.

ANWYL DDARLLENWYR,—"Blwyddyn Newydd Dda i chwi." Dyna y geiriau cyntaf a udganwn trwy ein HUDGORN ar ddechreu y flwyddyn 1853. Hyderwn y bydd eich llwyddiant yn fawr yn mhob peth daionus, ac y cyfrana yr Arglwydd fwy o fendithion i chwi nag erioed o'r blaen, ac nid yn unig i chwi, ond i bawb a garant wneuthur ei ewyllys Ef. Y mae pob argoelion yn bresennol y cawn ein dymuniad; canys y mae yr Arglwydd eisoes, ïe, ar y diwrnod cyntaf o'r flwyddyn, yn ein anrhegu â Dadguddiad ychwanegol o'i ewyllys, yr hwn a welir yn y rhifyn presennol. Y mae yn ddadguddiad o'r pwys mwyaf i'r holl Saint, ac yn un a ddwg iddynt lawenydd annhraethol, yn gymmaint ag y derbyniant ef. Nid yw yn newydd iawn, eithr yr oedd yn hysbys i lawer er ys blynyddau; er hyny y mae yn newydd yn y wlad hon. Gobeithiwn y bydd ein brodyr a'n chwiorydd anwyl yn bwyllog wrth ei farnu, ac y byddant yn amyneddgar hyd nes y cant ragor o resymau dros y pwnc. Nid ydym etto ond dechreu; mae genym ystôr o wybodaeth o Seion, ag a fydd yn dal cyssylltiad â'r dadguddiad y crybwyllwn am dano, a chaiff ein darllenwyr ddrachtio o honi wrth eu pleser. Ni wna yr Arglwydd ofyn i ddynion pa beth a gaiff lefaru: efe a gyhoedda ei gyfraith, ac nid oes neb a'i rhwystra.

Heblaw y Dadguddiad dan sylw, y mae yr Arglwydd wedi bendithio ei bobl trwy ddanfon dros gant o'i weision o Seion i'w plith, er eu dysgu yn ei ewyllys; ac y mae tri o honynt yn awr yn ein plith ninnau, yn ngwlad eu genedigaeth, er ein cynnorthwyo i ddwyn yn mlaen waith Duw, a chyd-adeiladu ei Deyrnas. Y maent hwy yn dystion dros Seion, a'u tystiolaethau a roddant ergydion marwol i elynion achos yr Arglwydd. Hwy a gywilyddiant ein gwrthwynebwyr, ac a ddynoethant eu celwyddau.

Ond nid oes dim yn darogan mwy o fendithion i'r Saint, nâ'r Gymmanfa fawreddog a fwriedir ei chynnal yn Nyffryn y Mynyddoedd, ar y 6fed o Ebrill nesaf, i'r hon y bydd holl awdurdodau yr Eglwys yn ymgynnull ynghyd, yn flaenorol i osodiad sylfaen Teml. O'r fath fendithion a ddylifant i'r Saint y pryd hwnw, a'r fath ddychryn a leinw fron yr anwir. Bydd yr ysbryd a â allan o Seion yr amser hwnw, i ysgwyd teyrnasoedd y ddaear, a pheri iddynt grynu fel dail yr aspen. Ei ddylanwad a deimlir hyd eithafoedd pedwar pegwn byd, a'i lef a dreiddia o fôr hyd fôr, a bydd yn arogl bywyd neu farwolaeth i bob enaid a'i clywo, neu a deimlo ei ddylanwad. Mae gair yr Arglwydd yn rymus a nerthol, ac yn gleddyf llym dau-finiog, ac fe dreiddia i eigion y galon. O, Saint, gorfoleddwch a dyrchafwch eich penau; ymddengys fod o'ch blaenau "Flwyddyn Newydd Dda," a'r goreu a gawsoch erioed; canys y mae gwaith goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd yn dod yn amlycach amlycach i'r golwg yn feunyddiol. Na feddylied neb nad yr un yw eich Eglwys yn awr â chynt, o herwydd yr ychwanega yr Arglwydd ei ddadguddiadau. Nid Eglwys o eiddo y byd ydyw, yr hon ni all gynnyddu, eithr Eglwys Dduw, yr hon oedd gynt yn faban, ond sydd yn awr yn wraig yn parotoi erbyn ei phriodas â'r Oen. Pe na buasai gwahaniaeth rhwng yr Eglwys yn awr â chynt, nid Eglwys Crist fyddai, oblegid y mae yn rhaid i hono fyned ar ei chynnydd mewn gwybodaeth a dealltwriaeth, yn gystal ag mewn maintioli corfforol. Daw y dedwydd ddydd yn fuan i'r Eglwys gyrhaedd ei chyflawnder, pan y bydd yn barod i gyfarfod â'r Priodfab.

Trwy ystod y flwyddyn hon etto cawn ymdrechu ein goreu i

udganu yn ein pummed gyfrol o'r UDGORN, gan hyderu y gweddia y Saint drosom yn feunyddiol, ar i ni gael nerth i fod yn ffyddlawn wrth ein gorchwyl, ac i allu udganu meddwl ein Llywyddion yn yr Arglwydd. Cynghorwn y Saint anwyl i fod ar eu gwyliadwriaeth, ac i yfed o'r ysbryd iawn, yr hwn a geir yn y Llywydd Phillips, fel y brif ffynnonell yn Nghymru, ac yn y rhai sydd yn llywyddu arno yntau. Ni chyfeiliorna neb a ymddiriedant yn y Llywyddion hyny a gymmeradwya awdurdodau yr Eglwys: os myn neb iachawdwriaeth, bydded iddo gredu, parchu, ac ymddiried yn ei lywydd, cyn belled ag y byddo yn gweithredu yn ofn yr Arglwydd. Nid ydyw yn amser i neb o'r Saint ymddiried mewn doethineb ddynol, neu hyawdledd ymadrodd; mae digon o hyny gan y dynion gwaethaf yn y wlad. Nid mewn godidawgrwydd ymadrodd y mae teyrnas Dduw, eithr mewn gallu. Yr ydym ni yn diolch na dderbyniasom lawer o hyawdledd, rhag ein temtio i geisio gogoniant ein hunain, yn lle gogoniant Duw, ac ymddyrchafu yn ngolwg ein hunain uwchlaw pawb ereill. Mae yn well genym fod yn fychain gerbron ein brodyr, fel y byddom fawr gerbron Duw. Mae yr esiamplau a gawsom gan apostolion ac henuriaid Duw yn yr oes hon, yn ein dysgu i fod yn ostyngedig ac addfwyn, a bod yn barotach i gymmeryd ein llywodraethu, nâ bod yn lywodraethwyr ein hunain. Ni a wyddom fod Llywydd presennol yr Eglwys Gymreig yn wr Duw, ac y mae yn llywyddu yn ysbryd yr Eglwys; y mae wedi profi ei hun yn ddyn da a gostyngedig, ac y mae iddo glod yn Seion eisoes. Nyni a ymdrechasom fod yn un ag ef o'r dechreuad; ac o hyn allan, cyhyd ag y byddom yn cydweled fel ag yr ydym yn bresennol, ac yn cyd-ddal ein gwahanol swyddi, nid oes dim a'n gwahana, canys ni a deimlwn gariad Crist yn y cwlwm sydd rhyngom. Am hyny, anwyl Saint, deuwch allan ac amddiffynwch bob llywodraeth sydd o osodiad Duw, a sefwch yn wrol o blaid cyfiawnder. Os troediwn bawb yn ôl traed yr apostolion, yr ydym yn sicr o'n buddugoliaeth a'n dyrchafiad yn nheyrnas Dduw. Gadewch i ni fod yn ddewr a didderbyn-wyneb gyda gwaith yr Arglwydd, ac nis collwn ein gwobr. Byddwch yn

un, frodyr, ac adnabyddwch eich lle, ac ni wna yr Arglwydd byth attal eich bendithio â " Blwyddyn Newydd Dda i chwi," trwy bob tragywyddoldeb.

---

## DADGUDDIAD,

*A roddwyd i Joseph Smith, Nauvoo, Gorph.* 12, 1843.

[O'r " Deseret News Extra," am Fedi 14, 1852.]

Yn wir, fel hyn y dywed yr Arglwydd wrthych chwi, fy ngwas Joseph, yn gymmaint a darfod i chwi ymholi â mi am ddealltwriaeth pa fodd y cyfiawnhëais fy ngweision Abraham, Isaac, a Jacob; ac hefyd Moses, Dafydd, a Solomon, fy ngweision, o barthed i'r egwyddor a'r athrawiaeth o'u bod hwy yn meddu llawer o wragedd ac o ordderch-wragedd; Wele! a llyna, myfi yw yr Arglwydd dy Dduw, a myfi a'th atebaf yn y peth hwn; am hyny parotoa dy galon i dderbyn ac ufyddhau i'r addysgiadau a gyfranaf i ti; canys anghenrheidiol yw i'r neb ag y dadguddir y gyfraith hon iddo, ufyddhau iddi; canys wele, cyfammod newydd a thragywyddol a amlygaf i chwi, ac os na aroswch yn y cyfammod hwnw, chwi a gondemnir; canys ni chaniateir i neb o wrthodwyr y cyfammod hwn fynedfa i'm gogoniant; o herwydd rhaid i'r neb a fyno fendith o'm llaw i, ufyddhau i ammodau y gyfraith, trwy yr hon y deillia y gyfryw fendith, yr hon a seiliwyd cyn seiliad y byd: ac o barthed i'r cyfammod newydd a thragywyddol, sefydlwyd ef er cael mwynhau cyflawnder o'm gogoniant; a rhaid i'r neb a dderbynia y cyflawnder o hono, drigo yn y gyfraith, onide efe a ddemnir, medd yr Arglwydd Dduw.

Ac yn wir, meddaf i chwi, ammodau y gyfraith hon ydynt fel y canlyn:—Pob cyfammodau, cynghreiriau, ymrwymiadau, dyledïadau, llwon, addunedau, cyflawniadau, cyssylltiadau, cymdeithasau, neu ddysgwyliadau, a'r na wnaed yn ol, ac na seliwyd gan Lân Ysbryd yr addewid, drwy yr hwn a eneinniwyd, yn o gystal am amser ag am dragywyddoldeb, a hyny hefyd mewn santeiddrwydd, yn ol dadguddiad a gorchymyn, drwy offerynoliaeth fy eneinniog, yr hwn a etholais i, ac i'r hwn y cyflwynais y gallu hwn ar y ddaear (ac mi a etholais fy ngwas Joseph i'r gallu hwn yn y dyddiau diweddaf, ac ni chyflwynir gallu ac allweddau

yr offeiriadaeth hon, ond i un dyn ar y ddaear ar yr un amser), ydynt yn aneffeithiol, dirym, ac yn ddiriuwedd yn, ac wedi yr adgyfodiad oddiwrth y meirw; canys pob cyfammodau a'r na wneir yn ol hyn, a ddarfyddant pan fyddo dynion feirw.

Wele! tŷ rheolaidd yw fy nhŷ i, medd yr Arglwydd Dduw, ac nid tŷ annhrefnus. A dderbyniaf fi offrwm, medd yr Arglwydd, yr hwn ni wneir yn fy enw? neu a dderbyniaf fi o'ch dwylaw yr hyn ni phenodais? Ac a benodaf i chwi ddim, medd yr Arglwydd, oddieithr yr hyn a fo yn ol fy nghyfraith, hyd y nod megys ag yr ordeiniais i a'm Tad i chwi cyn bod y byd? Myfi wyf yr Arglwydd dy Dduw, a rhoddaf i chwi orchymyn na ddel neb at y Tad ond trwof fi, neu drwy fy ngair, yr hwn yw fy nghyfraith, medd yr Arglwydd; a phob peth ag sydd yn y byd hwn, ac a ordeiniwyd gan ddynion, pa un bynag ai drwy orseddfeinciau, tywysogaethau, neu alluoedd, neu ddim a enwir, pa beth bynag a fyddo, a'r nad yw drwyof fi, neu drwy fy ngair i, medd yr Arglwydd, efe a ddadymchwelir, ac nid arosa mewn grym wedi y bo dynion meirw, yn nac ychwaith wedi yr adgyfodiad, medd yr Arglwydd eich Duw; canys pa bethau bynag a barhant ydynt o honof fi, a pha bethau bynag a'r nad ydynt o honof fi a ysgydwir ac a ddyfethir.

Am hyny, os gwr a brioda wraig yn y byd, ac efe ni phrioda hi drwof fi nac yn ol fy ngair i; ac os efe a ymgyfammoda â hi cyhyd ag y byddo efe yn y byd, a hithau a ymgyfammoda felly ag yntau, ni bydd eu cyfammod a'u priodas hwynt mewn grym wedi iddynt feirw, ac wedi yr elont hwy o'r byd; am hyny nid ynt hwy yn rhwym wrth gyfraith pan fyddant hwy allan o'r byd; am hyny nid ynt yn ymbriodi nac yn cael eu rhoddi mewn priodas, eithr angylion ydynt hwy yn y nefoedd, pa rai angylion fyddant yn weision gweinidogaethol i'r rhai a gyfrifir yn deilwng i etifeddu tra rhagorach dragywyddol bwys gogoniant; canys yr angylion hyn ni chadwasant fy nghyfraith; am hyny nid allant ymgynnyddu, eithr hwy a arosant yn wahanedig ac unigol, heb ddyrchafiad, yn eu sefyllfa gadwedig, i bob tragywyddoldeb; ac ni fyddant Dduwiau mwyach, eithr angylion Duw a fyddant yn oes oesoedd.

A thrachefn, yn wir meddaf i chwi, os gwr a brioda wraig, ac a ymgyfammoda â hi am amser ac am bob tragywyddoldeb; os na wneir y cyfryw gyfammod drwof fi, ac yn ol fy ngair, yr hwn yw fy nghyfraith, ac os na fydd yn seliedig trwy Lân Ysbryd yr

addewid, drwy yr hwn a eneinniais ac a etholais i'r gallu hwn; yna nid yw gyfreithlawn nac o un grym pan y byddant hwy allan o'r byd, o herwydd na chyssylltwyd hwynt drwof fi, medd yr Arglwydd, nac yn ol fy ngair; pan y maent hwy allan o'r byd, nis cymmeradwyir yno, canys yr angylion a'r Duwiau ydynt yno, heibio i ba rai nis gallant ddyfod; nis gallant gan hyny etifeddu fy ngogoniant, canys tŷ rheolaidd yw fy nhŷ i, medd yr Arglwydd Dduw.

A thrachefn, yn wir meddaf i chwi, os gwr a brioda wraig yn ol fy ngair, yr hwn yw fy nghyfraith, ac yn ol y cyfammod newydd a thragywyddol, ac os selir iddynt drwy Lân Ysbryd yr addewid, drwy yr hwn a eneinniwyd, ac i'r hwn y cyflwynais y gallu hwnw, ac allweddau yr offeiriadaeth hon, ac os dywedir wrthynt, Chwychwi a ddeuwch allan yn yr adgyfodiad cyntaf; ac os bydd ar ol yr adgyfodiad cyntaf, yn yr adgyfodiad nesaf; ac a etifeddwch goronau, teyrnasoedd, tywysogaethau, ac awdurdodau, llywodraethau, pob uchelderau a dyfnderau, yna ysgrifenir yn Llyfr Bywyd yr Oen, Os efe ni lofruddia, trwy yr hyn y tywelltir gwaed gwirion; ac os erys yn fy nghyfammod, heb lofruddio a thywallt gwaed gwirion, fe wneir iddynt yn mhob peth ag a roddodd fy ngwas arnynt, mewn amser a thrwy holl dragywyddoldeb; a bydd mewn cyflawn rym pan y byddant hwy allan o'r byd; a hwy a basiant heibio i'r angylion, ac i'r Duwiau, pa rai a osodwyd yno, i'w dyrchafiad ac i'w gogoniant yn mhob peth, megys y seliwyd ar eu penau, yr hwn ogoniant a fydd yn gyflawnder ac yn barhad o'r hadau yn oes oesoedd.

Yna byddant hwy yn Dduwiau, o herwydd ni bydd iddynt ddiwedd; am hyny y byddant hwy o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb, o herwydd eu bod yn parhau; yna y byddant hwy goruwch pob peth, o herwydd darostyngwyd pob peth iddynt hwy. Yna Duwiau fyddant hwy, o herwydd meddant bob gallu, a'r angylion a ddarostyngwyd iddynt hwy.

Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, onid aroswch yn fy nghyfraith, ni allwch gyrhaedd i'r gogoniant hwn; canys cyfyng yw y porth, a chul yw y ffordd ag sydd yn arwain i'r dyrchafiad a'r parhad o'r bywydau, ac ychydig sydd yn ei chael hi, o herwydd nad ydych yn fy nerbyn i yn y byd, nac ychwaith yn fy adnabod i. Eithr os derbyniwch fyfi yn y byd, yna chwi a'm hadnabyddwch, ac a gewch eich dyrchafiad, fel lle yr wyf fi, yno cewch chwithau

fod hefyd. Hyn yw bywydau tragywyddol, adnabod yr unig ddoeth a'r gwir Dduw, ac Iesu Grist, yr hwn a anfonodd efe. Myfi yw Efe. Derbyniwch chwithau, gan hyny, fy nghyfraith. Eang yw y porth, a llydan yw y ffordd sydd yn arwain i'r farwolaeth, a llawer sydd yn myned i fewn ar hyd-ddi, o herwydd ni dderbyniant hwy fyfi, nac ychwaith nid arosant yn fy nghyfraith.

Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, os gwr a brioda wraig yn unol â'm gair, ac a hwy a seliwyd drwy Lân Ysbryd yr addewid, yn ol fy ngosodiadau, ac os efe neu hi a gyflawna unrhyw bechod neu unrhyw drosedd o'r cyfammod newydd a thragywyddol, neu unrhyw gabledd, ac os na lofruddiant, drwy yr hyn y tywalltant waed gwirion,—er hyny hwy a gant ddyfod allan yn yr adgyfodiad cyntaf, a myned i'w dyrchafiad; eithr hwy a ddinystrir yn y cnawd, ac a draddodir i boenydiau Satan, hyd ddydd yr adferiad, medd yr Arglwydd Dduw.

Y cabledd yn erbyn yr Ysbryd Glan, yw yr hwn ni faddeuir yn y byd, nac ychwaith allan o'r byd, sydd gynnwysedig mewn llofruddio, drwy dywalltiad o waed dieuog, yr hyn sydd yn cydsynied â'm marwolaeth i, wedi derbyn y cyfammod newydd a thragywyddol, medd yr Arglwydd Dduw; ac ni ddichon, mewn un modd, i'r neb a'r nad arosa yn y gyfraith hon, gael mynedfa i'm gogoniant, eithr efe a ddemnir, medd yr Arglwydd.

Myfi ydwyf yr Arglwydd dy Dduw, ac a roddaf i ti gyfraith fy offeiriadaeth santaidd, megys ag yr ordeiniwyd genyf fi a'm Tad cyn bod y byd. Pob peth ag a dderbyniodd Abraham, trwy ddadguddiad a gorchymyn y derbyniodd efe hwynt, drwy fy ngair, medd yr Arglwydd; ac efe a aeth i'w ddyrchafiad, ac y mae yn eistedd ar ei orsedd.

Cafodd Abraham addewidion o berthynas i'w had, a ffrwyth ei lwynau, o lwynau yr hwn yr ydych chwi, sef fy ngwas Joseph, pa rai oeddynt i barhau tra byddent yn y byd; ac o barthed i Abraham a'i had, allan o'r byd, hwy a gynnyddent,—yn y byd ac hefyd allan o'r byd, mor aneirif â'r sér; neu, pe gallech rifo y tywod ar làn y mor, etto nis gallech eu rhifo hwynt. Eiddo chwithau hefyd yw yr addewid hon, o herwydd eich bod chwi o Abraham, canys rhoddwyd yr addewid hon i Abraham,—a thrwy y gyfraith hon y mae parhad gweithredoedd fy Nhad, trwy ba rai y gogonedda efe ei hun. Ewch chwithau, gan hyny, a gwnewch weithredoedd Abraham: ufyddhewch i'm cyfraith, a chwi a

achubir. Eithr os chwychwi nid ufyddhewch i'm cyfraith, yna ni ellwch dderbyn addewidion fy Nhad, y rhai a wnaeth efe i Abraham.

Gorchymynodd Duw i Abraham, a Sarah a roddodd Hagar i Abraham yn wraig; a phaham y gwnaeth hi hyn? O herwydd mai felly yr oedd y gyfraith, ac o Hagar yr hanodd llawer o bobloedd. Hyn oedd, gan hyny, yn mhlith pethau ereill, yn cyflawni yr addewidion. A oedd Abraham, gan hyny, o dan gondemniad? Yn wir, meddaf i chwi, *Nac oedd;* o herwydd myfi yr Arglwydd a orchymynais hyny. Gorchymynwyd i Abraham aberthu ei fab Isaac; er hyny, yr oedd yn ysgrifenedig, Na ladd. Etto, ni anufyddhaodd Abraham, ac fe gyfrifwyd hyny iddo yn gyfiawnder.

Abraham a dderbyniodd ordderch-wragedd, a hwy a ymddygasant iddo blant; a hyny a gyfrifwyd iddo yn gyfiawnder, o herwydd rhoddwyd hwynt iddo ef; ac efe a rodiodd yn ol fy nghyfraith i: felly hefyd Isaac, ac ni wnaeth Jacob ychwaith amgen nâ'r hyn bethau a orchymynwyd iddynt; ac o herwydd na wnaethant amgen nâ'r hyn bethau a orchymynwyd iddynt, hwy a esgynasant i'w dyrchafiad, yn ol yr addewidion, ac eisteddant ar orseddfeinciau; ac nid angylion, eithr Duwiau, ydynt hwy. Cafodd Dafydd hefyd lawer o wragedd ac ordderchwragedd, felly Solomon hefyd, a Moses fy ngwas; yn ogystal hefyd cafodd llawer o'm gweision, o ddechreuad y greadigaeth hyd yr amser hyn; ac mewn dim o honynt ni phechasant; ond, yn yr hyn bethau ni dderbyniasant genyf fi.

Myfi a roddais i Dafydd ei wragedd a'i ordderchwragedd, drwy law Nathan fy ngwas, ac ereill o'r prophwydi, y rhai a feddent agoriadau y gallu hwn, ac ni phechodd efe yn fy erbyn mewn dim o'r pethau hyn ond yn mherthynas i Urias a'i wraig; ac am hyny y cwympodd efe o'i ddyrchafiad, ac a gafodd ei ran; ac ni etifedda efe hwynt allan o'r byd; canys myfi a'u rhoddais hwynt i arall, medd yr Arglwydd.

Myfi ydwyf yr Arglwydd dy Dduw, a myfi a roddaf i ti, fy ngwas Joseph, apwyntiad, ac adferiad pob peth; gofyn yr hyn a ewyllysi, ac fe'i rhoddir i ti yn unol â'm gair: ac yn gymmaint ag i ti ymholi â myfi o barthed i odineb,—yn wir, yn wir meddaf i chwi, os wedi i wr gael gwraig yn y cyfammod newydd a thragywyddol, y ceir hi gyda dyn arall, yr hwn nid apwyntiais

drwy yr eneinniad santaidd, hi a odinebodd, a hi a ddyfethir. Ac os na fydd hi yn y cyfammod newydd a thragywyddol, a bod o honi gyda gwr arall, hi a odinebodd; ac os ei gwr fydd gyda gwraig arall, ac efe o dan adduned, efe a dorodd yr adduned, ac efe a odinebodd; ac os hi ni odinebodd, eithr yn ddieuog, ac ni thorodd ei hadduned, a'i bod hi yn wybodus o hyny, ac i mi ddadguddio hyny i ti, fy ngwas Joseph, yna y bydd i ti hawl, drwy hawl fy Offeiriadaeth Santaidd, i'w chymmeryd hi, a'i rhoddi i'r hwn ni odinebodd, eithr a fu ffyddlon; canys efe a lywodraetha dros lawer; o herwydd myfi a gyflwynais i ti allu ac agoriadau yr Offeiriadaeth, drwy yr hon yr adferaf fi bob peth, ac yr hysbysaf i chwi bob peth yn eu hamseroedd priod.

Yn wir, yn wir meddaf i chwi, pa bethau bynag a seliwch ar y ddaear, a selir yn y nefoedd; a'r hyn a rwymwch ar y ddaear, yn fy enw, ac yn ol fy ngair i, medd yr Arglwydd, a fydd yn rhwymedig yn y nefoedd yn dragywyddol; a phechodau y neb a faddeuoch ar y ddaear, a fyddant yn dragywyddol faddeuedig yn y nefoedd; a phechodau y neb a attalioch ar y ddaear, a attelir yn y nefoedd.

A thrachefn, yn wir meddaf i chwi, y neb a fendithiwch chwi a fendithiaf fi; a'r neb a felldithiwch chwi, myfi a'i melldithiaf, medd yr Arglwydd, canys myfi yr Arglwydd wyf dy Dduw.

A thrachefn, yn wir meddaf i ti, fy ngwas Joseph, yr hyn a roddi ar y ddaear, ac i'r hwn ei rhoddi ar y ddaear, yn ol fy ngair, ac yn unol a'm cyfraith, ymwelir â hwy drwy fendithion ac nid melldithion, a thrwy fy nerth i, medd yr Arglwydd, a byddant yn ddigondemniad ar y ddaear, ac yn y nefoedd; canys myfi ydwyf yr Arglwydd dy Dduw, ac a fyddaf gyda thi hyd ddiwedd y byd, ac hyd bob tragywyddoldeb; canys yn wir, seliaf arnat ti dy ddyrchafiad, ac a ddarparaf i ti orseddfainc yn nheyrnas fy Nhad, gydag Abraham eich tad. Wele, gwelais eich aberthau, a maddeuaf eich pechodau; canfyddais eich aberthau mewn ufydd-dod i'r hyn a orchymynais i chwi; ewch, gan hyny, a mi a wnaf ddiangfa i chwi; megys y cymmeradwywyd offrymiad Abraham o'i fab Isaac.

Yn wir meddaf i chwi, gorchymyn a roddaf i'm llawforwyn Emma Smith, eich gwraig, yr hon a roddais i chwi, ar iddi hi ymbwyllo, ac nac ymgyfranoged o'r hyn ag y gorchymynais i

chwi gynnyg iddi; canys myfi a wnaethym hyny, medd yr Arglwydd, i'ch profi chwi oll, megys ag y gwnaethym i Abraham; ac fel y ceisiwn offrwm o'ch llaw drwy gyfammod ac aberth; a bydded i'm llawforwyn Emma Smith, dderbyn yr holl rai a roddwyd i'm gwas Joseph Smith, pa rai ydynt bur a diwair ger fy mron i; a'r rhai anmhur, ag a broffesasant eu bod yn bur, a ddyfethir, medd yr Arglwydd Dduw; canys myfi wyf yr Arglwydd dy Dduw, a thydi a ufyddhei i'm llais; a rhoddaf i'm gwas Joseph, i gael llywodraethu ar lawer o bethau, canys efe a fu ffyddlon dros ychydig o bethau, ac o hyn allan mi a'i cryfhaf ef.

Ac yr wyf yn gorchymyn i'm llawforwyn, Emma Smith, i drigo gyda ac ymlynu wrth fy ngwas Joseph, a neb arall. Eithr os y hi ni ufyddha i'r gorchymyn hwn, hi a ddyfethir, medd yr Arglwydd; canys myfi wyf yr Arglwydd dy Dduw, ac a'i dyfethaf hi, os nad erys hi yn fy nghyfraith; eithr os nad ufyddha hi i'r gorchymyn hwn, yna y bydd i'm gwas Joseph wneyd, yn mhob peth erddi hi, ïe, megys ag y dywedodd; ac mi a'i bendithiaf ef, ac a'i hamlhaf, ac a roddaf iddo y can cymmaint yn y byd hwn, o dadau a mamau, brodyr a chwiorydd, tai a thiroedd, gwragedd a phlant, a gorseddau, ac yn y byd a ddaw fywydau tragywyddol. A thrachefn, yn wir meddaf i chwi, maddeued fy llawforwyn i'm gwas ei droseddau, ac yna y maddeuir iddi hithau ei throseddau, yn yr hyn y troseddodd i'm herbyn i; a myfi yr Arglwydd dy Dduw a'i bendithiaf hi, a'i hamlhaf hi, ac a wnaf i'w chalon lawenhau.

A thrachefn, meddaf i chwi, na rodded fy ngwas Joseph ei feddiannau o'i ddwylaw, rhag dyfod o elyn a'i ddystrywio: canys y mae Satan yn ceisio dystrywio; canys myfi ydwyf yr Arglwydd ei Dduw, ac yntau yw fy ngwas: ac wele! a llyna, yr wyf fi gydag ef, megys ag yr oeddwn gyda'm gwas Abraham, eich tad, hyd i'w ddyrchafiad ac i'w ogoniant.

Yn awr, o barthed i gyfraith yr Offeiriadaeth, y mae llawer o bethau yn perthyn iddi. Yn wir, os gelwir gwr gan fy Nhad, megys Aaron, drwy fy llais i, neu lais yr hwn a'm danfonodd: ac os myfi a'i cynnysgaethaf ef ag agoriadau a gallu-oedd yr Offeiriadaeth hon, pa beth bynag a wnelo efe yn fy enw, ac yn ol fy nghyfraith, ac yn unol â'm gair, ni phecha, eithr myfi a'i cyfiawnhaf ef. Nac ymosoded neb gan hyny ar fy ngwas Joseph; canys myfi a'i cyfiawnhaf ef; o herwydd efe a

wna yr aberth gofynol oddiar ei law ef, o herwydd ei droseddau, medd yr Arglwydd eich Duw.

A thrachefn, o barthed i gyfraith yr Offeiriadaeth: os gwr a ddyweddia iddo wyryf, a dymuno o hono ddyweddio arall, ac i'r gyntaf gydsynied; ac a hwy yn wyryfon, yr ymweddia iddo yr ail, os na fyddant dan adduned i wr arall, yna eu cyfiawnheir; ni ddichon efe odinebu â hwy, canys hwy a roddwyd iddo ef; canys annichonadwy yw iddo ef odinebu â'i eiddo ei hun, pa rai ni pherthynant i neb arall; a phe rhoddid iddo ddeg o wyryfon yn ol y gyfraith hon, ni ddichon efe odinebu, o herwydd perthynant iddo ef, a hwy a roddwyd iddo ef; am hyny y cyfiawnheir ef. Eithr os bydd un, neu unrhyw o'r deg gwyryf, gyda dyn arall, ar ol ei dyweddio i'r gyntaf, hi a odinebodd, ac a ddinystrir; canys hwy a roddwyd iddo i'r dyben i amlhau a llanw y ddaear, yn ol fy ngorchymyn i, ac er cyflawni yr addewid a roddwyd gan fy Nhad er cyn bod y byd; ac er eu dyrchafiad yn y bydoedd tragywyddol, fel yr ymddygent eneidiau dynion; canys yn hyn y parha ac y cynnydda gwaith fy Nhad, fel ei gogonedder Ef.

A thrachefn, yn wir, yn wir meddaf i chwi, os bydd i wr wraig yn meddu agoriadau y gallu hwn, ac os efe a'i dysga hi gyfraith fy Offeiriadaeth, perthynol i'r pethau hyn, yna y bydd iddi ei gredu, a gweinyddu iddo, onide hi a ddystrywir, medd yr Arglwydd eich Duw; canys myfi a'i dinystriaf hi; myfi a anrhydeddaf fy enw ar y neb a dderbynio ac a aroso yn fy nghyfraith. Am hyny, cyfreithlon ynof fi fydd, os hi a wrthoda y gyfraith hon, iddo ef dderbyn yr holl bethau a roddaf fi, yr Arglwydd ei Dduw iddo ef, er na chredodd ac na weinyddodd hi iddo ef yn ol fy ngair; ac felly y hi sydd yn troseddu; ac yntau a ryddhawyd oddiwrth gyfraith Sara, yr hon a weinyddodd i Abraham yn ol fy nghyfraith, pan y gorchymynais i Abraham gymmeryd Hagar yn wraig. Ac yn awr, o barthed i'r gyfraith, yn wir, yn wir meddaf i chwi, myfi a amlygaf yn helaethach ar ol hyn; am hyny, digon yw hyn yn bresennol. Wele, myfi wyf Alpha ac Omega. Amen.

*Cyf.* D. Jones.

---

[Wele yn awr gerbron ein darllenwyr gyfieithad o'r Datguddiad a roddwyd i'n diweddar brophwyd Joseph Smith, ynghylch y pwnc o aml-wreigiaeth. Er mor groes yr ymddengys y pwnc

hwn i feddwl crefyddolion y wlad hon, nid oes ond un rhan o bump o drigolion y byd heb fod yn ei gredu. Ac os chwiliwn yr ysgrythyrau santaidd, cawn mai gweision penaf y Goruchaf a fuont yn offerynau i roddi yr esiampl gyntaf i drigolion y byd. Mae yr arferiad mewn grym ar wyneb y ddaear hyd y dydd heddyw, a pharha i bob tragywyddoldeb. Mae aml-wreigiaeth yn un o bynciau penaf y Beibl, ac yn ol arfaethau yr Arglwydd. Ceir amser etto yn ein rhifynau dyfodol i drin y pwnc yn fanylach, a'i brofi o'r ysgrythyrau, ynghyd â dangos mai nid cnawdolrwydd sydd yn ei lywodraethu, eithr trefn berffaith yr Arglwydd. Lle mae cyfraith Duw yn llywodraethu, ni odineba neb a'r na ddinystrir. Yn Seion nid oes godineb yn bodoli, canys nid gwiw i neb yno i chwennych gwraig ei gymmydog. Eiddo pob dyn yw ei wraig neu ei wragedd ei hun, ac nid eiddo arall. Eithr yn y wlad yma y mae pethau yn hollol wahanol: un-wreigiaeth ac aml-buteiniaeth sydd yma, ac aneirif fastarddiaid, yn lle hiliogaeth gyfreithlawn fel eiddo Abraham ac ereill a fwynhaent aml wreigiaeth. O, y fath buteindra a godineb a weithredir yn y dirgel gan Gristionogion twyllodrus ein gwlad ni! O, na ellid codi cochl crefydd yn ddigon uchel i'r byd edrych dani i weled eu herchyll ffieidd-dra, a'u haml buteiniaid! Difoded offeiriaid a pharchedigion Cymru aml-buteiniaeth o'u gwlad, cyn condemnio y Mormoniaid am ddilyn esiampl Abraham, Isaac, a Jacob, a llawer ereill. Gobeithiwn y gwna pawb bwyllo, hyd nes y cant etto glywed ychwaneg.—GOL.]

## CYNGHORION YNGHYLCH CANU HYMNAU.

YN gymmaint â bod y Llyfr Hymnau Newydd yn awr allan o'r wasg, ac ar fyned i ddwylaw y Saint, teimlwn i gynnyg i'w sylw y cynghorion a ganlyn:—

1. Fel peth cyffredinol, cynghorem i'r hymnau gael eu darllen drostynt cyn eu canu, ond pan fyddo yr amser yn brin, neu yr hymn yn nghof y gynnulleidfa.

2. Cyn rhoddi hymn allan, hysbyswch ei rhifedi; ac wedi ei darllen drosodd, hysbyswch ei rhifedi drachefn, fel y gallo pawb gael ail gynnyg er troi ati.

3. Pan ddechreuir ar ryw hymn, gwell yw ei chanu i ben, na'i gadael ar ei hanner, fel y gwneir yn fynych yn eglwysi y byd. Os na fydd amser i ganu hymn hir, gellir cael digon o rai byrion i ateb y dyben. Nid oes dim yn ffolach na bratio pennillion a gyfansoddwyd mewn cyssylltiad â'u gilydd, pan y mae digonedd o hymnau byrion i'w cael.

4. Dysged yr holl gantorion i seinio pob gair yr un fath, ac

hefyd eu seinio yn groyw a chywir. Na ddyweded un "Oen," a'r llall "O'n;" un "gwaed," a'r llall "gwa'd," &c., eithr seinied pawb hwynt fel y maent yn y llyfr. Drachefn, pan ddywed un "gwyneb," na ddywedyd y llall "gweineb," eithr rhodder i bob gair ei sain ei hun. Mae pethau felly yn niweidio mwy ar gana y Cymry, nag y mae llawer yn feddwl. Nis gall fod peroriaeth dda, os na fydd y cantorion yn cydseinio y geiriau. Fe ddylai hymnau gael eu canu yn y fath fodd, ag y gall pawb ddeall pa beth a genir. Ni ddylid un amser adael silliau allan wrth gana, heb fod anghenrheidrwydd. Meddylia rhai fod "gweddio" yn dri sill o hyd, ond dau yw fynychaf; pan fyddo yn dri sill, ceir gweled yr "i" yn cael ei nodi fel hyn, "gweddïo." Gallem ddweyd yr un peth gyda golwg ar eiriau ereill hefyd. Gobeithiwn y telir llawer o sylw i'r pethau hyn.

5. Mae yn well fod y tônau, y rhan amlaf, yn fywiog, oddieithr mewn angladdau. Mae tônau galarus yn magu sectariaeth o'u mewn, a goreu i gyd pa leiaf gawn o honynt.

6. Pan fyddo hymn yn hir, ni ddylai fod nemawr neu ddim dyblu yn y dôn, onide gwna y canu yn rhy faith. Tôn fèr ddylai fod at hymn hir, a hymn fèr at dôn hir.

7. Wedi i chwi ddysgu tôn newydd, peidiwch ei chanu yn rhy fynych, rhag i chwi ei gwneyd yn rhy gyffredin, ac iddi fyned yn ddifles. Mynwch ddigon o amrywiaeth. Cenwch yr hen dônau yn eu tro, a byddant etto yn felys.

8. Pan fyddo hymnau fel yr 2 a'r 392 yn cael eu rhoi allan, ag a gynnwysant ofyniadau ac atebion, mae yn gweddu fod dwy blaid yn eu canu, sef trwy fod gwrrywod a benywod, neu blant a dynion mewn oed, yn ateb eu gilydd. Gellir gwneyd hyny ar bob tôn, os ewyllysir. Dylid ymdrechu hefyd i osod y pwyslais ar y geiriau gofynol, er mwyn canu yr hymnau yn eu llawn synwyr.

9. Cofiwch hefyd y cynghorion a roddasom yn nhud. 92, o'r bedwaredd gyfrol, ac ymdrechwch eu gosod mewn gweithrediad.

10. Gofaler am gael rhywun medrus i roddi yr hymnau allan, fel na fyddont yn cael eu llofruddio yn ormodol, ac i ymddangos yn waeth nag y maent.

11. Mae Cynnwysiad o'r Testunau ar ddechreu y llyfr, ac yno y mae cael gafael mewn hymnau i ateb pob amgylchiad. Yn y Mynegai, drachefn, ceir gafael yn mhob hymn wrth y linell

gyntaf. Mae rhifedi y tudalenau a'r hymnau yn ateb eu gilydd, yr hyn sydd yn hwylusdod mawr i'r cantorion.

Gobeithiwn y bydd y cynghorion uchod o les cyffredinol, ac yr atebant y dyben o'u cyhoeddi. Mae y Llyfr Hymnau hwn yn cynnwys 575 o hymnau, ar bob math o destunau a mesurau, a gobeithiwn y caiff ei werthfawrogi gan y Saint yn gyffredinol. Mae llawer o frodyr wedi bod yn cyfansoddi y llyfr hymnau presennol, ac y mae llythyrenau cyntaf eu henwau wrthynt; ond er hyny, geill fod yr un llythyrenau weithiau yn dynodi gwahanol bersonau, megys "J. E." yn dynodi John Edmonds, John Edwards, neu John Evans, yr hyn ni welsom nes yr oedd yn rhy ddiweddar. Fe wel y rhan fwyaf i ni gymmeryd llawer o ryddid i gyfnewid eu hymnau, er eu gwneuthur yn gymmeradwy: yr oedd hyny yn well genym nâ'u hargraffu fel yr oeddynt, a chredwn y meddylia ein brodyr yr un peth. Yr ydym yn ddyledus i'r Henuriad Dewi E. Jones am ei lafur yn ein cynnorthwyo, ac i lawer o frodyr ereill a allasem eu henwi. Mae genym oddeutu 133 o hymnau ein hunain, rhwng cyfieithadau; ac ni a garem pe buasai ein hymnau ninnau wedi cael yr un driniaeth gan rai medrusach nâ ni, ag a gafodd hymnau ein brodyr genym ni; canys y mae yn rhwyddach gweled gwallau yn ngwaith ereill, nag yn ein gwaith ein hunain. Os dygwydd i rai o'n brodyr weled gwallau o bwys yn y llyfr hwn, dymunwn arnynt i ysgrifenu yma, cyn dweyd wrth neb arall, fel y gallom ni eu diwygio. Ni a wyddom am rai gwallau dibwys ein hunain, megys 7, 6, yn lle 8, 7, a phethau cyffelyb, y rhai nid ydynt braidd werth eu nodi.

---

## DYFODIAID O'R DYFFRYN.

Mae yn hoff genym i hysbysu fod yr Henuriaid D. Jones, Thomas Jeremy, a Daniel Daniels, o Ddyffryn y Llyn Halen Fawr, wedi cyrhaedd yma nos Lun ddiweddaf, yn iach a chysurus, a diolch i Dduw am ei ddaioni tuag atynt. Dyma y Cymry cyntaf a ddaethant ar genadiaeth oddiyno i'r wlad hon, ac y maent yn dystion byw i brofi fod y Dyffryn yn cytuno yn dda â'u hiechyd, a chredwn y gwnant les mawr yn ein plith. Gwnawn hysbysu etto yn brydlawn pa gylchoedd a fyddant yn troi ynddynt yn yr Eglwys Gymreig.

## GWAHODDIAD I UFYDDHAU I'R EFENGYL.

TON—"Princess Royal."

GWRANDEWCH hil Gomer, newydd gwiw
A ddaeth o'r nef i ddynol ryw,
Sef gwir efengyl gallu Duw,
Er cadw y crediniol:
Nid mewn doeth eiriau denu daeth,
Nac mewn rhyw chwedlau i foddio'n chwaeth,
Ond dod mewn nerth a sicrwydd wnaeth,
A'i doniau pur ysprydol:
Am hyny'n ufydd, Gymry hael,
Gwnewch ymddarostwng yn ddiffael
I'r gwir gynllun, er i'ch gael
O ddoniau'r nef a'i gariad Ef,
Fel byddo i bob gelyniaeth gref
O'r golwg i gael cilio:
Ni ddwg ddych'mygion doethion byd,
A'u croes drefniadau gau i gyd,
Y rhai ar elw ro'nt eu bryd,
Ond tristwch blin i fynwes dyn;
Am hyny geiriau'r geirwir Un,
Yn gyflawn gwnewch gofleidio.

*Blaen Dowlais.* WILLIAM THOMAS.

---

## EMYN.

ER maint o Saint y sydd
Yn cael eu herlid,
Daw'r gwanaf adre'n rhydd
O wlad y gofid:
Er cwyno lawer gwaith
Cyn dod i ben y daith,
Bydd newydd ar yr iaith
Pan gant eu rhyddid.

Ac yno bydd y Saint
Yn gorfoleddu,
Am iddynt gael y fraint
O ddilyn Iesu;
Cael teyrnas heb ei hail,
Dros oesoedd rif y dail,
Nas gellir siglo'i sail,
Na'i haflonyddu. R. EVANS.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y MAE yn well cael cydwybod dda a bod yn dlawd, na chael cydwybod ddrwg, a bod yn gyfoethog, canys pwy a ddichon oddef cydwybod euog.

NIS gellir adnabod cyfaill mewn llwyddiant; ac nis gellir cuddio gelyn mewn aflwyddiant.

MAE cwmpeini drwg mor beryglus â chymmydogaeth heintlyd; a dylid yn wastad ochelyd y naill yr un modd ag yr ofnir y llall.

---

DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU A'R CANGENAU, AM Y CHWARTER YN TERFYNU RHAGFYR 31, 1852.

*Cynnadleddau*—Sir Fynwy, £0 0s 0c; Sir Frycheiniog, £0 0s 0c; Llanelli, £0 0s 0c; Sir Aberteifi, £5 10s 0¾c; Penfro Ogleddol, £0 0s 0c; Gorllewin Morganwg, £65 16s 11¾c; Sir Feirionydd, £0 0s 0c; Sir Fflint, £12 18s 5c; Sir Fôn, £8 15s 2¼c; Dyffryn Conway, £1 11s 7½c; Sir Ddinbych, £10 5s 5¼c; Dwyreiniol Morganwg, £65 13s 7¾c; Caerfyrddin, £7 6s 4¼c. *Cangenau*—Cangen Gymreig Liverpool, £3 4s 6½c; Dinas, £1 1s 9c; Llanilltyd, £0 0s 0c; Pontytypridd, £2 8s 3c; Llanfabon, 19s 10½c; Cwmbach, £0 0s 0c; Pendulwyn, 1s; Twynyrodyn, 1s 3½c; Llandaff, £1 2s 7c; Eglwysnewydd, £0 0s 0c; Penfaen, 9s; Caerdyf, £7 0s 9c; Aberdare, £8 15s 1½c; Aberamman, £2 14s 5½c; Dowlais, £4 14s 2½c; Hirwaen, 3s 3c; Cwmnedd, £1 18s 2c; Rymni, £3 18s 4c; Georgetown, £1 2s 2½c; Merthyr, £6 5s 4¾c; Pendaren, £4 10s; Cefn, £4 14s 8c; Ynysgou, £3 13s 6½c; Gwernllwyn, £3 17s 7½c; Ffynnon-Tydfil, £3 0s 9½c; Troedyrhiw, 12s 10½c; Rymni (Saes.), 12s 11c; Gellivaelog, £2 2s 2c; Aberdare (Saes.), £1 13s 5c.—Cyfanswm £183 2s 3c.

TALIADAU O RAG. 23 HYD RHAG. 30.—Sir Frycheiniog, £9 10s 1c; Penfro Ogleddol, £1 7s; Sir Feirionydd, 7s 11c; Sir Fôn, £1 2s 4c; Llanilltyd, 10s 6c; Pontytypridd, £1 0s 7½c; Llanfabon, 3s 10c; Cwmbach, £4 1s 3c; Pendeulwyn, 8s 6c; Twynyrodyn, £1 2s 2c; Eglwysnewydd, 10s; Aberamman, 13s 6c; Hirwaen, 3s 9c; Georgetown, £2 9s; Cefn, 9s; Troedyrhiw, 8s 7c.—Cyfanswm, £24 8s 0½c.

☞ Mae y Llyfr Hymnau yn barod i'r Ymfudwyr, gwerth 2s. mewn croen llo. Gallant ei gael trwy eu Dosparthwyr, neu trwy alw yma. Mae yr elw yr un fath â'r Llyfr Seisnig. Bydd digon i'w cael yn fuan, fel y diwaller pawb.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 2.] IONAWR 8, 1853. [CYF. V.

## DARLITH AR AML-WREIGIAETH,

*A draddodwyd mewn Cymmanfa Gyffredinol, yn Ninas y Llyn Halen Fawr, ar y 29ain o Awst, 1852.*

GAN Y PROFFESWR ORSON PRATT.

Y MAE yn gwbl annysgwyliadwy genyf, frodyr a chwiorydd, i gael fy ngalw i'ch anerch y boreu hwn; ac etto yn fwy felly, i'ch anerch ar yr egwyddor a enwyd, sef aml-wreigiaeth.

Mae yn hytrach yn dir newydd i mi, hyny yw, nid wyf wedi bod yn arferol o lefaru yn gyhoeddus ar y pwnc hwn; ac y mae yn hytrach yn dir newydd i drigolion yr Unol Daleithiau, ac nid yn unig iddynt hwy, ond i gyfran o drigolion Ewrop; mae cyfran o honynt hwy ag nad ydynt wedi arfer pregethu athrawiaeth o'r fath hyn; o ganlyniad, mae yn rhaid i ni dori tir newydd.

Mae yn eithaf hysbys, pa fodd bynag, i'r gynnulleidfa ger fy mron, fod Saint y Dyddiau Diweddaf wedi cofleidio yr athrawiaeth o aml-wreigiaeth, fel rhan o'u ffydd grefyddol. Nid ydyw, fel mae llawer wedi tybied, yn athrawiaeth a gofleidir ganddynt er boddhau chwantau cnawdol a theimladau dyn; nid dyna ddyben yr athrawiaeth.

Ni a ymdrechwn osod gerbron y gynnulleidfa oleulawn hon, rai o'r achosion paham y mae yr Hollalluog wedi dadguddio y fath athrawiaeth, a phaham yr ystyrir hi yn ran a chyfran o'n credo grefyddol. A chredwyf na fydd iddynt, o dan ein ffurf

bresennol o lywodraeth (meddyliwyf lywodraeth yr Unol Daleithiau), ein profi ni am deyrn-fradwriaeth am gredu ac ymarfer ein drychfeddyliau a'n golygiadau crefyddol. Meddyliwyf, os nad wyf yn camsynied, fod y ffurf-lywodraeth yn caniatâu y fraint i holl drigolion y wlad hon, i rydd ymarferyd eu golygiadau crefyddol, a mwynhau rhyddid eu ffydd, ynghyd â'r ymarferiad o honi. Yna, os gellir profi yn foddhaol, fod Saint y Dyddiau Diweddaf wedi cofleidio, fel rhan o'u crefydd, yr athrawiaeth o aml-wreigiaeth, y mae yn unol â'r ffurf-lywodraeth. A phe gwnelid cyfreithiau gan y lywodraeth hon, er rhwystro rhydd-ymarferiad y rhan hon o'u crefydd hwy, byddai raid fod y cyfreithiau yn groes i'r ffurf-lywodraeth.

Ond, meddai y gwrthddadleuydd, nis gallwn weled pa fodd y gellir cofleidio yr athrawiaeth hon fel mater o grefydd a chred; nis gallwn ni braidd ganfod pa fodd y gellir ei chofleidio yn unig fel peth teuluaidd, rhywbeth a berthyna i bleserau teuluaidd, heb fod mewn un ffordd yn gyssylltiedig â chrefydd. Mewn atebiad, ni a ddangoswn ei bod wedi ei chorffoli fel rhan o'n crefydd, ac yn angenrheidiol er ein dyrchafiad i gyflawnder gogoniant yr Arglwydd yn y byd tragywyddol. A garech chwi wybod y rhesymau? Cyn yr elom trwodd, ni a ymdrechwn ddweyd paham yr ystyriwn hi yn athrawiaeth angenrheidiol er ein gogoniant a'n dyrchafiad i'n cyflawnder o ddedwyddwch yn y byd dyfodol.

Yn gyntaf, ni a wnawn ychydig o sylwadau rhag-arweiniol o barthed i fodoldeb dyn,—i'w fodoldeb cyntaf yn ei ystad gyntaf; ac yna dywedyd rhywbeth o barthed i'w sefyllfa bresennol, a'r cyssylltiad a ddeil â'i sefyllfa nesaf a dyfodol.

Mae gan y Mormoniaid athrawiaeth neillduol o barthed i'n cyn-fodoldeb, yn wahanol i olygiadau y byd cristionogol, a elwir felly, y rhai nid ydynt yn credu i ddyn gael cyn-fodoldeb. Credir gan y byd crefyddol, fod dyn, gorff ac ysbryd, yn dechreu byw oddeutu yr amser y genir ef i'r byd hwn, neu ychydig cyn hyny; mai dyna y pryd y dechreua bywyd. Credant fod yr Arglwydd, trwy weithred uniongyrchol o gread, yn y lle cyntaf, wedi llunio dyn allan o bridd y ddaear; a chredant fod dyn yn feddiannol ar gorff ac ysbryd, trwy uniad pa rai y daeth yn greadur byw. Meddyliwch pe yr addefem yr athrawiaeth hon ynghylch lluniad y corff o'r pridd; yna pa fodd y lluniwyd yr ysbryd? Wel,

meddai un, meddyliwn iddo gael ei wneyd trwy weithred uniongyrchol o gread gan yr Hollalluog ei hun; ddarfod iddo ef ffurfio ysbryd dyn, ei lunio a'i orphen mewn dull cyfaddas i breswylio y babell a wnaeth efe allan o'r pridd.

A oes genych ryw hanes o hyn yn y Beibl? A ddywed yr ysgrythyrau i'r ysbryd gael ei lunio ar yr amser y gwnaed y babell? Na ddywed. Holl bebyll plant dynion ag a luniwyd, er y cenedlaethau gynt, o ddyddiau Adda hyd yr amser hwn, a luniwyd allan o'r ddaear. Yr ym ni o'r ddaear, yn ddaearol. Mae y babell wedi ei llunio yn unol ag egwyddorion penodol, a chyfreithiau cydgorffoliad, ag esgyrn, a chnawd, a gewynau, a chroen. Yn awr, pa le y meddyliwch chwi i'r holl bebyll hyn gael eu hysbrydoedd? A yw yr Arglwydd yn gwneyd ysbryd newydd bob tro ag y gwneir pabell? os felly, ni ddarfyddodd gwaith y greadigaeth, yn ol credo y byd cristionogol, ar y seithfed dydd. Os addefwn eu golygiadau hwy, mae yn rhaid fod yr Arglwydd yn parhaus greu ysbrydoedd i breswylio holl bebyll plant dynion; mae yn rhaid iddo greu rhywbeth tebyg i fil o filiynau o ysbrydoedd bob canrif; mae yn rhaid ei fod yn gweithio wrthi bob dydd, canys y mae llawer o gannoedd o bersonau yn cael eu geni i'r byd bob dydd. A yw yr Arglwydd yn creu ysbryd newydd bob tro ag y daw pabell newydd i'r byd? Nid edrycha hyny yn rhesymol, nac yn Dduwaidd.

Ond pa fodd y mae, chwi a ofynwch? Wel, y ffaith yw, mae y bod hwnw ag sydd yn bywiogi y corff yma, ag sydd yn rhoddi bywyd ac egni, a gallu i symud, i weithredu, ac i feddwl—y bod hwnw ag a driga o fewn y babell hon, yn llawer henach nag ydyw y babell. Mae yr ysbryd hwnw a driga o fewn pob gwrryw, a phob benyw, o'r gynnulleidfa fawr hon o bobl, yn fwy nâ milflwydd oed, ac mi a anturiwn ddywedyd, y mae yn fwy nâ phum milflwydd oed.

Eithr pa fodd y cafodd ei wneyd? pa bryd y cafodd ei wneyd? a chan bwy y cafodd ei wneyd? Os oedd ein hysbrydoedd yn bodoli amryw filoedd o flynyddoedd yn ol,—os dechreuasant fodoli; os bu dechreuad ar eu cydgorffoliad, pa fodd y bu y cydgorffoliad hwnw? Drwy ba gyfrwng, ac yn ol pa gyfundraeth o gyfreithiau? Ai trwy greadigaeth uniongyrchol o eiddo yr Hollalluog? Ynte a ffurfiwyd hi trwy gyfundraeth o gyfreithiau cyffelyb i'r dull ag y dygir ein cyrff i fodoldeb? Ped ym-

resymem yn gymhariaethol, beth a ddywedem? Dywedem fodoli o'n hysbrydoedd drwy genedliad yn gyffelyb i'n cyrff, neu y babell hon o gnawd ac esgryn. Eithr pa beth ddywed dadguddiad ar y pwnc hwn? cawn weled a gyduna dadguddiad a chyfatebiaeth.

Darllenwn am ryw gyfnod pan y gosodwyd conglfeini y ddaear, ac y sicrhawyd ei seiliau hi—am amser, pryd ag y dechreuodd yr Arglwydd roeleiddio y drigle hardd a gogoneddus hon, sef y ddaear, yna cawsant amser llawen iawn. Ni wyddis a feddent yno yr offer cerdd a'r ddawns; eithr un peth sydd wybodus, sef fod yno lawenydd mawr, ïe, fod nefoedd yn adleisio eu caniadau; ebe yr Arglwydd wrth Job, holl feibion Duw a floeddiasant gan lawenydd, a sêr y boreu a gydganasant pan osodwyd sylfaeni y ddaear hon.

MEIBION Duw, cofiwch, a floeddiasant gan lawenydd, o herwydd eu bod yn canfod trigle harddwych yn cael ei ddarparu, ar ba un y gallent hwy mewn pebyll breswylio: hiraethent am yr amser—yn awyddus edrychent yn mlaen am y cyfnod hwnw, llawenychent yn yr ystyriaeth o fod creadigaeth ar gael ei ffurfio, conglfeini yr hon eisoes a osodwyd, ar yr hon y caffent yn eu hamseroedd ac yn eu tymmorau a'u cenedlaethau, bebyll i'w preswylio. Dygwch yr ystyriaeth adref atoch eich hunain, frodyr a chwiorydd. A allwch chwi gydnabod eich bod chwi a minnau yno? ïe, ein bod ni yn mhlith yr aneirif dorf a floeddiasant yn llawen pan y crewyd y ddaear hon? Eithr, ebe rhywun, nid oes genyf fi gof am hyny. Nid rhyfedd hyny, canys eich cof a gymmerwyd oddiarnoch, o herwydd eich bod mewn daearol babell; ac y mae hyn yn anghenrheidiol. Yr un peth a ysgrifenir am Iesu Grist ei hun, yr hwn a ymddarostyngodd islaw pob peth. Er ei fod ef yn feddiannol ar ddigonedd o ddoethineb i gydreoleiddio y byd hwn; er mai trwyddo ef fel y blaenor mawr o holl feibion Duw, y crewyd y byd, ac y crewyd hefyd drwy gyd-weithrediad ei holl frodyr ieuengaf,—er hyn oll, deallwn i fod yn anghenrheidiol, er ei fawredd, ei ddoethineb, a'i allu blaenorol, yn ei ddarostyngiad, i'w farn gael ei chymmeryd oddiarno; ei gyn-ddoethineb, ei wybodaeth, a'i fawr allu a ddiflanodd ar ei ddyfodfa i'r babell fabanaidd o gnawd. Gorfu arno ddechreu i lawr gydag egwyddorion iselaf gwybodaeth, ac esgyn i fyny yn raddol, gan dderbyn gras am ras, gwirionedd am wirionedd, gwybodaeth am wybodaeth, hyd nes oedd wedi ei lenwi á

holl gyflawnder y Tad, ac yn alluog i reoli, llywodraethu, a meistroli pob peth, gan fod wedi esgyn goruwch pob peth. Felly yn union gyda ninnau; nyni y rhai a ddyrchafasom unwaith ein lleisiau unol megys meibion a merched Duw, ac a orfoleddasom o lawenydd pan osodwyd sylfaeni y ddaear hon,—ydym wedi dyfod yma a chymmeryd pebyll, yn ol dull ein brawd henaf; ac yn ein darostyngiad (canys darostyngiad yw cael ein hamddifadu o'r wybodaeth a feddem unwaith, a'r gallu a fwynhaem unwaith), yn gyffelyb braidd i'n brawd hynaf, ein barn a gymmerir ymaith. Ai nid ydym yn darllen hefyd yn y Beibl, mai Duw yw Tad ein hysbrydoedd?

Yr ydym wedi cael allan y meddem gyn-fodoldeb. Cawn i Solomon, y gwr doeth hwnw, ddweyd, pan fyddo y corff yn dychwelyd i'r pridd, fod yr ysbryd yn dychwelyd at Dduw yr hwn a'i rhoes. Yn awr, fe wyr yr holl gynnulleidfa hon yn eithaf da, pe na fodolasem *yno* erioed, nas gallem *ddychwelyd* yno. Nis gallwn i ddychwelyd i Califfornia;—paham? oblegid na fum erioed yno. Pe na fuasech erioed gyda'r Tad, fel y bu yr Iesu cyn seiliad y byd, nis gallasech byth ddychwelyd, mwy nag y gallwn innau i'r India Ddwyreiniol, lle ni bum erioed. Eithr os buom yno unwaith, yna gallwn weled grym dywediad y gwr doeth, fod yr ysbryd yn dychwelyd at Dduw yr hwn a'i rhoes; y mae yn myned yn ol lle y bu unwaith.

Gellid cael llawer mwy o brofion o barthed i'r pwnc hwn, hyd y nod o'r cyfieithad Seisnig o'r Beibl, eithr nid wyf yn teimlo tuedd i sylwi yn rhy faith ar unrhyw dystiolaeth benodol; digon yw dweyd fod cyfieithad y prophwyd Joseph Smith o'r rhan flaenaf o lyfr Genesis yn argraffedig, ac yn dra eglur ar y mater hwn. Yn y cyfieithad ysbrydoledig hwn cawn fod cynfodoldeb dyn yn cael ei eglur ddangos, a bod ysbrydoedd pawb dynion, gwrryw a benyw, yn bodoli cyn llunio dyn allan o bridd y ddaear. Eithr pwy oedd eu Tad? Yr wyf eisoes wedi dyfynu dywediad mai Duw yw Tad ein hysbrydoedd.

Mewn un ystyr o'r gair, y mae mwy o Dduwiau nag un; ac mewn ystyr arall nid oes ond un Duw. Llefara yr ysgrythyrau am fwy o Dduwiau nag un. Gelwid Moses yn Dduw i Aaron mewn geiriau eglur; a'n Hiachawdwr, pan yn llefaru ar y pwnc hwn, a ddywed, "Os galwodd yr ysgrythyrau y rhai hyny yn Dduwiau, at y rhai y daeth gair Duw, paham y ceisiwch fy erlid

i, a'm lladd, oblegid fy mod yn tystiolaethu mai myfi yw Mab Duw?" Hyn mewn sylwedd, oedd gair ein Hiachawdwr; gelwir y rhai hyny at ba rai y daeth gair Duw, 'yn Dduwiau, yn ol ei dystiolaeth ef. Yr holl fodau hyn wrth gwrs ydynt un, megys y mae'r Tad a'r Mab yn un. Gelwir y Mab yn Dduw, ac felly y Tad, ac mewn rhai manau gelwir yr Ysbryd Glân yn Dduw.

Y maent yn un mewn gallu, mewn doethineb, mewn gwybodaeth, ac yn yr etifeddiaeth o'r gogoniant nefol; y maent yn un yn eu gweithredoedd; maent yn meddu pob peth, a phob peth ydynt yn ddarostyngedig iddynt; maent yn gweithredu mewn undeb; ac os oes gallu gan un i ddyfod yn Dad ysbrydoedd, felly y mae gan arall; os gall un Duw amlhau ei rywogaeth, a chodi i fyny ysbrydion ar ei lun a'i ddelw ei hun, a'u galw yn feibion a merched iddo, felly y gall pob Duwiau ereill a ddeuant yn gyffelyb iddo ef, wneyd yr un pethau; o ganlyniad, fe fydd llawer o Dadau, a llawer o deuluoedd, a llawer o feibion a merched, a hwy a fyddant yn blant y bodau gogoneddedig a nefol hyny ag a ystyrir yn deilwng i fod yn Dduwiau.

Gadewch i mi ddwyn gerbron yma, er boddlonrwydd i'r saint, dystiolaeth y weledigaeth, a roddwyd i'n prophwyd a'n dadguddiwr, Joseph Smith, a Sidney Rigdon, ar yr 16eg o Chwefror, 1832. Yr oeddynt wrth y gwaith o gyfieithu y Testament Newydd trwy ysbrydoliad; a thra wrth y gwaith mawr hwn, hwy a ddaethant at y 29ain adnod o'r 5med bennod o Ioan, yr hon a roddwyd iddynt yn y geiriau hyn: "y rhai a wnaethant dda yn adgyfodiad y cyfiawn, a'r rhai a wnaethant ddrwg yn adgyfodiad yr anghyfiawn." Trwy fod hyn yn cael ei roddi mewn geiriau gwahanol i'r cyfieithad Seisnig, achosodd iddynt i synu a rhyfeddu; a hwy a ddyrchafasant eu calonau mewn gweddi at Dduw, am iddo ef ddangos iddynt paham y cawsent hyn mewn dull gwahanol; ac wele, gweledigaethau y nefoedd a agorasant o'u blaen. Hwy a welsant y greadigaeth ysbrydol ag oedd i ddyfod allan a chymmeryd arnynt gyrff; a hwy a welsant bethau megys y byddant mewn amser dyfodol; hwy a welsant y bydoedd nefol, daearol, a than-ddaearol, yn gystal â dyoddefiadau yr annuwiol; daeth y cyfan ger eu bron yn y weledigaeth fawr a gogoneddus hon. A thra yr oeddynt etto yn syllu ar bethau fel yr oeddynt cyn bod y byd, hwy a orchymynwyd i ysgrifenu, gan ddywedyd, "Hon yw y dystiolaeth, y diweddaf oll a roddwn ni am dano ef, ei fod

ef yn fyw; canys ni a'i gwelsom ef, hyd y nod ar ddeheulaw Duw, a chlywsom y llais yn dwyn tystiolaeth mai ef yw uniganedig y Tad,—mai ganddo, a thrwyddo ef, ac erddo ef y mae ac y cafodd y bydoedd eu creu, a bod eu trigolion yn feibion a merched cenedledig i Dduw." Sylwch ar yr ymadrodd diweddaf hwn, "bod eu trigolion yn feibion a merched cenedledig i Dduw" (gan feddwl y gwahanol fydoedd a grewyd ac a wnaethwyd). Sylwch, nid yw hyn yn dweyd mai Duw, yr hwn a wasanaethwn ac a addolwn ni, oedd y Tad ei hunan, yn ei berson ei hun, o'r holl feibion a merched hyn o eiddo y gwahanol fydoedd; eithr "meibion a merched cenedledig i Dduw" ydynt; hyny yw, wedi eu cenedlu gan y rhai hyny a wnaed yn debyg iddo, yn ol ei lun a'i ddelw ef; hwy a genedlasant feibion a merched, ac a'u cenedlasant i Dduw, i breswylio y gwahanol fydoedd hyn y soniasom am danynt. Eithr mwy am hyn, os cawn amser, cyn y terfynwn.

Yr ydym yn awr yn dyfod at yr ail ben o'n pwnc, neu ddyfodiad yr ysbrydoedd hyn i'w hail ystad, neu eu genedigaeth a'u bodoliaeth mewn pebyll marwol. Dywedir wrthym fod yn mhlith y teulu mawr hwn o ysbrydoedd, rai yn fwy mawr ac ardderchog nag ereill, gan feddu mwy o ddealltwriaeth.

Pa le y darllenwch hyny, meddai un? Allan o Lyfr Abraham, a gyfieithwyd o'r papyrus Aifftaidd gan y prophwyd Joseph Smith. Yn mhlith y teulu mawr a lliosog o ysbrydoedd ("y meibion a'r merched cenedledig i Dduw"), y mae rhai yn fwy deallgar nag ereill, a dangosodd yr Arglwydd i Abraham, "y dealltwriaethau a gorffolwyd cyn bod y byd, ac yn mhlith yr holl rai hyn yr oedd llawer o'r rhai mawrion ac ardderchog." A Duw a ddywedodd wrth Abraham, "Tydi wyt un o honynt, etholwyd di cyn cael o honot dy eni." Etholwyd Abraham cyn iddo gael ei eni. Dyma ynte wybodaeth, pe meddem amser i sylwi arni, ar yr athrawiaeth o etholedigaeth. Pa fodd bynag, gallaf sylwi nad yw yn golygu etholedigaeth ddiammodol i fywyd tragywyddol, o ddosparth neillduol, a'r gweddill i gael eu tynghedu i ddamnedigaeth dragywyddol. Digoned i ddywedyd fod Abraham a llawer ereill o'r rhai mawrion a rhagorol yn nheulu yr ysbrydion, wedi eu hethol cyn cael eu geni, i ddybenion neillduol, er dwyn oddiamgylch weithredoedd penodol, i gael y fraint o ddyfod ar esgynlawr gweithrediad, yn mhlith y llu dynion, mewn

amgylchiadau ffafriol. Daeth rhai trwy rieni santaidd a da, er cyflawni rhyw bethau penodol a arfaethodd yr Arglwydd i gymmeryd lle, er cyn seiliad y byd.

Mae yr Arglwydd wedi ordeinio fod i'r ysbrydion hyn ddyfod yma a chymmeryd pebyll trwy gyfraith benodol, trwy gyfrwng neillduol; a'r gyfraith hono yw cyfraith priodas. Y mae cryn lawer o bethau ag a basiaf heibio iddynt; gwelaf pe cyffwrddwn â'r holl egwyddorion, y byddai yr amser a fwriadwyd at y ddarlith hon yn llawer rhy fach; o ganlyniad yr wyf dan yr angenrheidrwydd o fyned heibio i lawer o bethau o barthed i'r ysbrydion hyn yn eu hystad gyntaf, a'r cyfreithiau a'u llywodraethent yno, a dyfod at eu hail ystad.

Ordeiniodd yr Arglwydd briodas rhwng gwrryw a benyw, fel cyfraith trwy yr hon y cawsai ysbrydion ddyfod yma a chymmeryd pebyll, a myned i'w hail sefyllfa o fodoldeb. Darfu i'r Arglwydd ei hun weinyddu y briodas gyntaf berthynol i'r byd hwn, a pherthynol i gnawd ac esgyrn yma ar y ddaear hon. Nid wyf yn dywedyd perthynol i farwoldeb; canys pan weinyddwyd y briodas gyntaf, nid oedd un marwoldeb yno. Y briodas gyntaf ag sydd genym ni hanes am dani, oedd rhwng dau fod anfarwol, yr hen dad Adda, a'r hen fam Efa; yr oeddynt hwy yn fodau anfarwol: nid oedd gan farwolaeth lywodraeth na gallu drostynt hwy; yr oeddynt yn alluog i barhau yn oes oesoedd, yn eu corffoliad. Pe buasent wedi cyflawni y gyfraith, a chadw o fewn ammodau a therfynau penodol, ni chawsai eu pebyll byth eu cymmeryd gan farwolaeth; marwolaeth a ddaeth yn gwbl trwy bechod, a phechod yn unig. Cafodd y briodas hon ei gweinyddu rhwng dau fod anfarwol; dros ba cyhyd? hyd angeu? Nage. Yr oedd hyny yn gwbl allan o'r cwestiwn: nis gallai fod y fath beth yn y seremoni.

Pa beth a ystyriech chwi, fy ngwrandawwyr, pe gweinyddid priodas rhwng dau fôd, heb fod yn ddarostyngedig i farwolaeth? A ystyriech hwynt wedi eu cyd-gyssylltu dros nifer benodol o flynyddoedd, ac yna fod eu holl gyfammodau yn darfod am byth, a'r cytundeb priodasol ar ben? A edrychai hyny yn rhesymol a chysson? Na welai. Dywedai pob calon fod gwaith Duw yn berffaith yn ac o hono ei hun, ac yn gymmaint ag na ddygasai pechod anmherffeithrwydd ar y ddaear, yr hyn a gydgyssylltodd Duw, nis gellid ei ddattod, a'i ddinystrio, a'i dori gan unrhyw

allu islaw y byd nefol, o ganlyniad yr oedd yn dragywyddol; yr oedd yr ordinhad o undeb yn dragywyddol; yr oedd seliad y Jehofa mawr ar Adda ac Efa yn dragywyddol yn ei natur; ac ni sefydlwyd ef erioed er mwyn cael ei ddadymchwelyd a'i ddwyn i derfyniad. Mae yn hysbys fod y Mormoniaid yn bobl neillduol ynghylch priodas; credwn mewn priodi, nid am amser yn unig, eithr am bob tragywyddoldeb. Mae hyn yn ddrychfeddwl rhyfedd, medd un, priodi am bob tragywyddoldeb. Nid yw ryfedd yn y byd; canys pan ddeuwn i chwilio yr ysgrythyrau, cawn nad oedd yr esiampl gyntaf a osodwyd i'r holl deulu dynol fel cynllun a sefydlwyd er i ni ei ddilyn, wedi ei rhoddi hyd farwolaeth, canys nid oedd gan farwolaeth lywodraeth ar y pryd hwnw, eithr bendith dragywyddol ydoedd a gyhoeddwyd ar ein rhieni cyntaf. Nid oes amser genyf i egluro yn mhellach am briodas Adda ac Efa; eithr mi a af yn mlaen at ei hiliogaeth.

Mae yn wir iddynt fyned yn syrthiedig, eithr y mae gwaredigaeth yn bod. Ond geill rhai ystyried na wnaeth y waredigaeth ond yn unig ein gwaredu o ran, hyny yw, dim ond oddiwrth effeithiau y cwymp. Eithr nid felly y mae; rhaid i bob gwryw a benyw weled ar unwaith fod gwaredigaeth yn rhwym o gynnwys gwaredigaeth gyflawn o'r holl freintiau a gollwyd trwy y cwymp.

Meddyliwch, ynte, fod y cwymp yn gyfryw yn ei natur ag i ddiddymu y cyfammod priodasol trwy farwolaeth,—yr hyn nid yw yn angheurheidiol i addef, canys yr oedd y cyfammod wedi ei selio yn flaenorol i'r cwymp, ac nid oes genym un hanes iddo gael ei ddiddymu—eithr tybiwch mai felly yr oedd; ai ni fuasai y waredigaeth mor gyfled â'r cwymp, er adferu hiliogaeth Adda yn ol at yr hyn a gollasant? Ac os priodwyd Adda ac Efa am bob tragywyddoldeb, yr oedd y seremoni yn ordinhad dragywyddol, fel y byddent eill deuodd yn un cnawd yn dragywydd; os bydd i chwi a minnau byth gael ein hystyried yn deilwng i gael ein hadferyd yn ol o'n sefyllfa syrthiedig ac isel i'r breintiau a fwynheid cyn y cwymp, ai ni chaem ninnau sel priodas dragywyddol, megys yr oedd gyda ein rhieni cyntaf? Pe na feddem resymau yn yr holl Feibl, buasai hyn yn ddigon i setlo y mater ar unwaith yn meddwl pob dyn a dynes myfyrgar, yn gymmaint ag y dygwyd ymaith gan gwymp dyn unrhyw freintiau o barthed i undeb gwrryw a benyw, fod yn rhaid i'r breintiau

hyn gael eu hadferyd yn ngwaredigaeth dyn, neu ynte nid yw yn gyflawn.

Pa beth yw dyben yr undeb hwn?—yw y cwestiwn nesaf. Dywedir wrthym y dyben o hono; dangosir ef yn eglur; canys, medd yr Arglwydd wrth y gwrryw a'r fenyw, Yr wyf yn gorchymyn i chwi amlhau a llanw y ddaear. Ac yn gymmaint â'n bod wedi profi fod y trefniad priodasol yn dragywyddol yn ei natur, yn flaenorol i'r cwymp; os adferir ni yn ol i'r hyn a gollwyd trwy y cwymp, adferir ni i'r dyben o gario allan y gorchymyn a roddwyd cyn y cwymp, sef, amlhau a llanw y ddaear.—A yw yn dywedyd, parhewch i amlhau dros ychydig flynyddoedd, ac yna rhaid i'r cytundeb priodasol ddarfod, ac ni fydd un cyfleusdra pellach i gario allan y gorchymyn hwn, eithr fe fydd diwedd arno? Nac ydyw; nid oes dim o'r fath hyn wedi ei nodi; eithr y mae'r cwymp wedi dwyn i mewn anundeb trwy farwolaeth; nid ydyw yn ran o'r cynllun gwreiddiol; o ganlyniad, pan fo gwrryw a benyw yn cael eu hadferu o'r cwymp, trwy rinwedd y cyfammod bythol a thragywyddol o briodas, hwy a barhant i gynnyddu ac amlhau i bob oesoedd tragwyddoldeb, i genedlu bodau yn ol eu gradd eu hunain, ac ar eu llun a'u delw eu hunain, blagur o ddealltwriaeth, y rhai a dynghedir, yn eu hamseroedd a'u prydiau, i ddyfod nid yn unig yn feibion Duw, ond yn Dduwiau eu hunain.

Mae hyn yn rhoi cyfrif am yr amryw fydoedd y clywsom yr Henuriad Grant yn llefaru am danynt y prydnawn ddoe; gwnai poblogiad bydoedd, neu gynnydd diddiwedd, hyd y nod o un teulu, ofyn cynnydd diddiwedd ar fydoedd; a phe byddai un teulu yn cael eu huno yn y cyfammod tragywyddol o briodas, i gyflawni y gorchymyn mawr hwnw, o amlhau eu rhywogaeth a'u cenedlu; ac os nad oes diwedd ar gynnydd eu hiliogaeth, gofynai am gynnydd diddiwedd o fydoedd newyddion; ac os yw un teulu yn galw am hyn, pa beth fyddai galwad miliynau aneirif o deuluoedd? Hwy a alwent am gynnifer o fydoedd ag sydd eisoes wedi eu darganfod gan y chwyddwydr; ie, rhaid i'r nifer gael ei lliosogi hyd at anfeidroldeb, fel y byddo lle i etifeddiaeth meibion a merched y Duwiau.

A ydych chwi yn dechreu deall pa fodd y ca y bydoedd hyn eu trigolion? A ddysgasoch mai meibion a merched Duw ger fy mron y dydd heddyw, yw ei hiliogaeth ef—wedi eu gwneyd ar

ei ddelw ei hun; a'u bod hwy i liosogi eu rhywogaeth hyd nes y byddont yn aneirif?

Gadewch i ni ddywedyd ychydig o eiriau, cyn y gadawn y rhan hon o'n pwnc, ar yr addewidion a wnaed i Abraham, Isaac, a Jacob. Yr addewidion oeddynt, dyrchafwch eich llygaid, a gwelwch y sêr; felly y bydd dy had di, mor afrifed â'r ser. Pa beth arall a addawodd ef? Ewch at làn y môr, ac edrychwch ar yr eigion o dywod, a gwelwch fychander eu temigau, ac yna deallwch y bydd eich had chwi mor aneirif â'r tywod. Yn awr, bydded i ni gymmeryd hyn at ein hystyriaeth. Pa faint o gorff o dywod a gymmerid i wneyd cynnifer ag sydd o drigolion yn awr ar y ddaear? Mewn oddeutu troedfedd gubig o dywod, gan gyfrif y gronynau o faintioli penodol, fe fyddai mil o filiynau o ronynau. Yn awr, y mae hyn oddeutu nifer poblogaeth ein byd. Pe byddai i'n daear ni barhau 8,000 o flynyddoedd, neu bedwar ugain canrif, gyda phoblogaeth gyfartal o fil o filiynau yn mhob canrif, yna byddai tair llath gubig o dywod yn cynnwys nifer fwy o ronynau nâ holl boblogaeth y ddaear o'r dechreuad, hyd nes y bo mesur trigolion y greadigaeth hon yn gyflawn. Os peidia dynion amlhau y pryd hwnw, pa le mae yr addewid a wnaed i Abraham? A ydyw wedi ei chyflawni? Nac yw. Os mai dyna ddiwedd ei gynnydd ef, wele, nid yw addewid yr Arglwydd wedi ei chyflawni. Oblegid y swm o dywod, ag sydd yn arddangos ei had ef, a ellid eu llusgo oll mewn cert un ceffyl; ac etto fe ddywedodd yr Arglwydd wrth Abraham, Dy had a fyddant mor amled â'r tywod ar làn y môr; hyny yw, a chario allan y meddylddrych yn llawn, yr oedd i fod yn ddiddiwedd; ac am hyny, mae yn rhaid fod bydoedd dirifedi er iddynt fyw ynddynt. Nis gallwn ni amgyffred anfeidroldeb. Eithr digon yw dywedyd, pe rhifid yr holl dywod ar làn y môr, meddai y prophwyd Enoc, ac wedi hyny holl ronynau y ddaear, ac yna ronynau miliynau o fydoedd fel y byd hwn, ni fyddai yn ddechreuad i'th holl greadigaethau Di; ac etto yr wyt ti yna, a'th fynwes sydd yna; a'th gortynau ydynt estynedig allan o hyd. Y mae hyn yn rhoddi digon o le er cyflawni yr addewid a wnaed i Abraham, a digon yn ngweddill er cyflawni addewidion cyffelyb i'w holl had ef.

(*I'w barhau.*)

## LLYTHYR AT Y LLYWYDDION W. S. PHILLIPS A J. DAVIS.

Bear River, 80 milltir o Ddinas y Llyn Halen, Medi 20, 1852.

Anwyl Frodyr Phillips a Davis,—Yn ol fy addewid, wele fi yn achub y cyfleusdra o ysgrifenu atoch yr ail waith ar y daith hon. Cawsom daith gysurus yr holl ffordd hyd y fan yma, a'r hin yn hynod o dymherus, heb ond ychydig wlaw, ac heb un dymhestl: ac er ein bod wedi croesi un mynydd yn 7,700 o droedfeddi yn uwch nâ gwyneb y môr, ni welsom gymmaint â diwrnod o eira ar ein ffordd. Llawer o gymylau duon a welsom yn codi yn môn y gwynt, a chlywsem daranau pellenig fel pe bai yr holl nefoedd uwchben yn ymgynhyrfu er ein hysgubo ymaith; ond ni feiddiasant ein niweidio, oblegid fod yr Hwn sydd â phob awdurdod yn ei feddiant, ac sydd yn galw y sêr wrth eu henwau, a'r hwn y mae'r gwyntoedd yn ufyddhau i'w arch, megys â'i law yn eu rhanu, nes yr oeddynt yn myned heibio o bob tu, a ninnau yn y canol, heb deimlo dim o'u heffeithiau. Nid unwaith, ac nid dwywaith y bu hyn.

Yr ydym oll yn iach yn bresennol, ac ni chawsom ond ychydig o glefyd ar ein taith. Mae pedwar wedi marw, sef William Dafydd o Lanelli, a Thomas ei fab; hefyd, William, mab y chwaer Howells o Aberdar, yr hwn a syrthiodd dan olwyn pedrolfen ei fam, yr hon a aeth dros ei ddwyfron. Gweiniasom iddo trwy ordinhadau eglwys Iesu Grist, yn ol yr ysgrythyrau, ac yr oedd y nos ganlynol yn rhodiana oddiamgylch y gwersyll. Clafychodd eilwaith yn mhen diwrnod neu ddau, a gweinyddodd y brawd Taylor a minnau iddo drachefn, ond diangodd er pawb a phob peth. Y llall a fu farw oedd Jennet, merch Thomas ac Anne Morris, o'r cancr. Cewch ychwaneg o hanes ein taith pan elom i'r Dyffryn.

Yr oeddym yn ein gwersyll y neithiwr ar làn y Sulphur Creek, dwy filltir oddiyma. Clywsom yn y boreu fod ein hanwyl frawd Capt. D. Jones yn gwersyllu wrth Afon yr Arth. Nid hir, fel y gallwch wybod, wedi clywed y newydd, y bu y gair "pack up and pick up" cyn dyfod allan; ac yr wyf yn gwybod na fu dim gwell ufydd-dod i alwad mewn un rhan o'r ymdaith. Yr oedd ei enw wedi ennyn fflam o gariad yn mynwes pob un tuag ato, fel nad oedd dim i'w glywed trwy y gwersyll ond y "brawd Jones," ac

"awn i'w gyfarfod." Nid hir y buwyd cyn bod yr olwynion yn troi. Wedi teithio yn agos i filltir, gwelem ddyn bychan o gorff-olaeth yn cerdded yn gyflym i'n cyfarfod. Nis gwyddem pwy oedd; ond fel ag yr oeddem yn nesbau at ein gilydd, er ein llawenydd, pwy ydoedd ond ein hanwyl frawd Jones, a'i wên siriol fel arferol. Mae yn hawddach dychymmygu na desgrifio ein cyfarfod. Wedi ysgwyd dwylaw, cofleidio, wylo, a chysanu, aethom at lân yr afon lle yr oedd wedi gadael ei geffyl, gan fod wedi teithio o ugain i ddeg ar-hugain o filltiroedd ar hyd y nos o flaen ei gwmni, er ein cyfarfod ni. Penderfynasom aros diwrnod yn ei gyfeillach, i ymddyddan â'n gilydd am bethau perthynol i deyrnas ein Duw. O, frodyr, mor felys y dylifai ei ymadroddion dros ei wefus. Mae yn wir fod pob gair o'i enau yn felys gynt yn Nghymru, eithr yr oeddynt yn fil melysach yma ar fynyddoedd anial yr America, rhwng wyth a naw mil o filltiroedd o Gymru.

Rhaid terfynu yr ysgrif hon, canys y mae'r gwersyll yn nesu, a'r brodyr Jeremy a Daniels yn dyfod. Pwy ddichon ddal ysgrifell, pan y mae brodyr ffyddlawn ag y cyd-deithiais â hwynt filoedd o filltiroedd mewn rhwymyn cariad, yn nesâu? nid myfi. Dacw y brodyr a'r chwiorydd yn rhedeg; nis gallaf finnau ddal yn hwy. Wele, pob un â'i galon yn llawn llawenydd yn dychwelyd i'r gwersyll, mewn llawn brofiad o wirionedd y geiriau—"mor hyfryd yw trigo o frodyr yngbyd." Treuliasom gweddill y dydd mewn cariad brawdol, weithiau yn canu, bryd arall yn tystiolaethu ein penderfyniadau, gwrandaw addysgiadau y tri brawd, nes aeth y dydd heibio, ac os dywedwn y gwir, 12 o'r gloch y nos hefyd: ac er mai rhwng yr helyg gwyrddion yr oeddym yn cydgyfarfod, yr oedd Ysbryd Duw yn ein plith. Ymadawsom oll er i bob un gyflawni ei gynghor, mewn llawn hyder cael cyfarfod etto yn Seion. Mae y gwersyll yn cychwyn: ffarwel am dro, anwyl frodyr, Phillips a Davis.

Ydwyf, eich brawd yn rhwymyn yr Efengyl,

W. MORGAN.

---

## CYNGHOR CYFFREDINOL.

CYNNALIWYD Cynghor Cyffredinol perthynol i'r Eglwys Gymreig, yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr, ar y 3ydd o'r mis hwn. Dechreuwyd trwy ganu a gweddio gan yr Henuriad T. Jeremy.

Yna anerchodd y Llywydd Phillips y Cynghor, gan ddymuno rhan yn ngweddiau ei frodyr, fel y byddai yn alluog i gario gwaith y cyfarfod yn mlaen yn ol ewyllys Duw. Wedi dysgu egwyddorion pwysig i'r swyddogion ganddo ef a'r brodyr Davis a Jones, gwnaed y penderfyniadau a ganlyn:—

Cynnygiodd y Llywydd Phillips fod yr Henuriad Abednego Jones (yr hwn a fwriada fyned i Seion yn fuan), i gael ei rydd-hau oddiwrth lywyddiaeth Cynnadledd Llanelli, ar y 17eg o'r mis hwn; yna, fod Dewi Elfed Jones i gymmeryd ei le, ac Alfred Clark i fod yn gynghorwr blaenaf iddo. Cariwyd.

Cynnygiodd fod yr Henuriad Daniel Daniels, o Ddyffryn y Llyn Halen, i fod yn Fugail dros Gynnadleddau Aberteifi, Penfro Ddeheuol, a Phenfro Ogleddol. Cariwyd.

Cynnygiodd fod yr Henuriad Thomas Jeremy, o Ddyffryn y Llyn Halen, i fod yn Fugail dros Gynnadleddau Gorllewin Morganwg, Lanelli, a Chaerfyrddin. Cariwyd.

Hefyd, penderfynwyd fod yr Henuriad Dan Jones, o Ddyffryn y Llyn Halen, i fod yn ail Gynghorwr i'r Llywydd Phillips, yn lle yr Henuriad T. Pugh, ac hefyd i lywyddu Cynnadledd Ddwyr-einiol Morganwg. Cariwyd.

Terfynwyd trwy weddi gan y Brawd Daniels, ac ymadawodd y mwyrif o'r swyddogion wedi cael eu llanw o fywyd ac o'r Ysbryd Glân.

W. S. PHILLIPS, *Llywydd*,
RICHARD MORRIS, *Ysgrifenydd*.

---

## YMDDYDDAN RHWNG SANT A'I GYFAILL.

S. YN awr, fy anwyl gyfaill, rhowch glywed im' pa faint
O ddrwg a glywsoch heddyw wrth wrando ar y Saint?
C. Ni chlywais ddim yn croesi y geiriau dwyfol pur,
Ond am ryw waredigaeth, 'roedd hyny'n ddrwg yn wir.

S. Mae gwaredigaeth, cofiwch, yn un o'r pethau mawr
Oedd gan yr hen brophwydi pan yma ar y llawr.
C. Nid dim ond mater enaid bregethai rhai'n i'r byd,
Ni sonient am waredu y corff rhag unrhyw lid.

S. Mae'n wir y dysga dynion mai hyny ddysgent hwy,
Ond pwy y'ch chwi yn gredu, ai'r gair, neu ynte pwy?
C. A ellwch chwi ei brofi o'r 'sgrythyr gredaf fi,
Fod gweision Duw'n pregethu'r athrawiaeth draethwch chwi?

S. Pregethu gwaredigaeth wnaeth Noah i'r hen fyd;
A phe yn ufydd deuent, eu gwared gaent i gyd:
Pregethodd Lot, wr cyfiawn, ar yr egwyddor hon,
Yn Sodom a Gomorrah, i'r dynion oll o'r bron;

Ac am na chredsant ynddo, eu cospi gawsant oll,
Gwirionedd oedd ei bregeth,—cyflawnwyd yn ddi-goll;
A thyma destun Moses, fu'n ffyddlon dros ei Dduw,
Wrth arwain meibion Israel o'r Aifft i'r Ganaan wiw.

C. Mae'n wir am y prophwydi, eu bod yn ddewr a da
Yn traethu gwaredigaeth i'r byd rhag llawer pla:
Ond gwaredigaeth enaid a draethodd Iesu mawr,
Heb sôn am un ymgasgliad, pan yma ar y llawr.

S. O, gyfaill, 'nawr ymbwyllwch, nis galla'i'ch credu chwi,
Mae geiriau Crist ei hunan yn dysgu'n well i mi;
Pan lefodd wrth Gaersalem, "sawl gwaith mynaswn i,
Dy gasglu fel y casgla y iâr ei chywion hi;"

Nid am eneidiau'n unig feddyliai yma 'nawr,
Ond am y croch daranau ag oedd ar gychwyn lawr:
Pe b'asent hwy yn credu ei eiriau dwyfol ef,
Hwy gawsent eu gwaredu rhag rhyfedd lid y nef.

C. Mae'n wir i'r Iesu dd'wedyd, fel y llefar'soch chwi,
Ond a oes hanes genym y daw 'n ein dyddiau ni?
S. Fe ddysga'r ysgrythyrau, rhai sydd yn wir bob iot,
Y bydd fel amser Noah, ac hefyd ddyddiau Lot,

Pan ddelo'r Arglwydd Iesu ar gwmwl gwyn o'r nef,
A lluoedd o'r angylion a'r seintiau gydag ef:
Ac os y bydd fel hyny, chwi glywsoch modd y bu,
I'r cyfryw fu'n anufydd, i soddi yn y lli.

Gan hyny, anwyl gyfaill, mae'n bryd i'ch ddod at Grist,
Fel caffoch eich gwaredu, rhag dyodde'r poenau trist.
C. Beth! onid wyf yn aelod o Eglwys Iesu mawr?
Paham dywedwch wrthyf am ddod at Grist yn awr?

Nid arnom ni tywalltir, os tywallt hefyd wnair,
Ond ar y rhai di-grefydd, 'nol fel dyweda'r gair.
S. Tywalltir heb wahaniaeth ar bawb o ddynol ryw,
Os na fydd ganddynt sicrwydd eu bod yn adwaen Duw;

Ac nid oes ffordd i ddyfod i adwaen Duw ein Tad,
Heb roddi gwir ufydd-dod i bob rhyw ordinhad,
Y rhai osododd Iesu yn ei wir Eglwys gynt,
Pa rai ag oedd i bara, nid newid ar eu hynt:

Ac felly gwnaeth y seintiau roi gwir ufydd-dod llawn,
Ac yna ca'w'd gwybodaeth mai dyma'r grefydd iawn:
Am hyny rhoddwch chwithau ufydd-dod i'r un peth,
Cewch sicrwydd fod eu geiriau yn unol a di-feth.

*Tre-Sior, Merthyr.* THOMAS HARRIES.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Os na fydd i awrlais y tafod gael ei gosod wrth *ddeial* y galon, ni fydd iddo fyned yn iawn.

MAE yn well bod o nifer y rhai sydd mewn angen am gynnorthwy, nâ bod o nifer y rhai sydd yn ddiffygiol o galon i gynnorthwyo.

MOR ddifeddwl ac anystyriol y rhaid fod y dynion annedwydd hyny, y rhai a'i gwnant yn esgus dros ddigrifwch segur a niweidiol, eu bod yn gwneuthur felly i dreulio amser.

DOETHINEB a rhinwedd ydynt ddwy feddyginiaeth anffaeledig rhag holl groesau a dygwyddiadau y bywyd dynol.

Y LLAWENYDD goreu yw llawenydd y pur o galon.

TRWY ddyoddef yr ydym yn fynych yn gochel pechu; ond trwy bechu yr ydym yn sicr o ddyoddef.

"THE SEER."—Mae cyhoeddiad misol o'r enw hwn i gael ei gyhoeddi yn Ninas Washington, America, gan yr Henuriad Orson Pratt, yn yr hwn y bydd y traethodau oll yn wreiddiol, ac ar lawer o bynciau neillduol, ag nad ydynt etto wedi eu hanner egluro; ac yn mysg pethau ereill, ymdrinir â'r athrawiaeth o briodas batriarchiadd neu nefolaidd, ynghyd â'r galluoedd seliadol yn gyffredinol. Ei bris fydd tair ceiniog, a gellir ei gael yn Nghymru, trwy y dosparthwyr. Mae traethawd hefyd yn agos parod i'r wasg, gan y brawd Pratt, dan yr enw "Priodas Nefol, neu Boblogiad Bydoedd," ac i gynnwys o 80 i 100 tudalen o faint y *Star*. Digon tebyg y bydd y brawd Pratt yn dyfod i Loegr yn ystod y gauaf hwn, er cyhoeddi y traethawd yma yn gyntaf yn y wlad hon.

---

TALIADAU O RAG. 31 HYD ION. 6.—Sir Fynwy, £46 12s 2½c; Llanelli, £19 19s 11¾c; Sir Aberteifi, £2; Sir Fôn, 8s 2c; Sir Ddinbych, £3; Caerfyrddin, £7 6s 4¾c; Dinas, 5s; Pontytypridd, 16s 2c; Pendeulwyn, 1s; Twynyrodyn, 1s 3½c; Cwmnedd, 10s; Rymni, £1 13s 7½c; Georgetown, 12s; Cefn, 7s; Gwernllwyn, £3; Merthyr, £2 5s 1½c.—Cyfanswm, £88 17s 11½c.

"J. E."—Nid ydym dros lawer o brydyddiaeth i ganmawl llywyddion: mae llywyddion da yn canmawl eu hunain. Mae degau o ddarnau yn ein meddiant wedi eu canu i'r brawd Phillips a ninnau; mae yn wir fod ein cyfeillion yn dangos eu dymuniad da, ond gwell yw genym ni iddynt ddewis rhyw destunau poblogaidd, ac nid rhywbeth personol, fel yr adeiladont bawb.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 3.] IONAWR 15, 1853. [CYF. V.

## DARLITH AR AML-WREIGIAETH,

*A draddodwyd mewn Cymmanfa Gyffredinol, yn Ninas y Llyn Halen Fawr, ar y 29ain o Awst, 1852.*

(Parhad o dud. 31.)

YR ydym yn darllen fod y rhai hyny a wnant weithredoedd Abraham, i gael eu bendithio â ffydd Abraham. Ai ni chawsoch chwi yn ordinhadau yr oruchwyliaeth ddiweddaf hon, fendithion Abraham wedi eu cyhoeddi ar eich penau? O do, meddech, yr ydym yn cofio yn dda, er pan adferodd Duw yr offeiriadaeth dragywyddol, fod y bendithion hyn, trwy ordinhad benodol, wedi eu rhoddi ar ein penau, sef bendithion Abraham, Isaac, a Jacob. Wel, meddai rhywun, ni feddyliais i erioed am hyn yn y goleuni hwn o'r blaen. Paham na feddyliasoch am dano? Paham na edrychwch ar fendithion Abraham fel yr eiddoch eich hun, oblegid yr Arglwydd a'i bendithiodd ef ag addewid o had mor aml â'r tywod ar làn y môr; felly bendithir chwithau, onide ni etifeddwch fendithion Abraham.

Pa fodd y trefnodd Abraham i osod sylfaen i'r deyrnas ddirfawr hon? A oedd efe i gyflawni y cyfan trwy un wraig? Nac oedd. Sara a roddodd iddo ryw wraig o'r enw Hagar, a thrwyddi hi y cyfodid had iddo ef. Ai dyna y cyfan? Nage. Yr ydym yn darllen am ei wraig Keturah, ac hefyd am amledd gwragedd a gordderch-wragedd ag oedd ganddo, trwy ba rai y cenedlodd efe lawer o feibion. Wele yma, ynte, sylfaen wedi ei gosod, er

cyflawniad yr addewid fawr a gogoneddus ynghylch lliosogrwydd ei had. Buasai yn hytrach yn waith araf, pe cyfyngesid Abraham i un wraig, yn gyffelyb i rai o'r cenedloedd culfarn hyny o eiddo y byd Cristionogol yn yr oes hon.

Meddyliwyf nad oes un ran o bump o boblogaeth y byd, yn credu yn y gyfundraeth un-wreigaidd; cred y pedair rhan arall mewn aml-wreigiaeth. Trosglwyddwyd hi i waered iddynt er cyn cof, ac nid ydynt hwy yn hanner mor gul yn eu meddyliau, ag ydyw rhai o genedloedd Ewrop ac America, y rhai ydynt wedi dileu yr addewidion, ac amddifadu eu hunain o fendithion Abraham, Isaac, a Jacob. Nid yw y cenedloedd yn gwybod dim ynghylch bendithion Abraham; ac nis gall y rhai hyny ag na feddant ond un wraig, gael gwared o'u cybydd-dod, a chael eu calonau bychain yn ddigon eang i gyd-ranu eu heiddo â theulu lliosog; y maent mor anhael, ac mor gul a chauedig yn eu meddyliau, fel y cymmerant bob gofal i beidio cael eu teuluoedd yn fawrion; nis gwyddant pa beth sydd yn yr amser dyfodol, na pha fendithion yr amddifadant eu hunain o honynt, oblegid traddodiadau eu tadau; nis gwyddant mai hiliogaeth dyn, yn y bydoedd tragywyddol, sydd i gyfansoddi ei ogoniant, ei deyrnas, a'i lywodraeth.

Canfyddwn, ynte, oddiwrth yr un egwyddor hon, gan ymresymu oddiwrth fendithion Abraham yn unig, yr anghenrheidrwydd (os ewyllysiem gyfranogi o fendithion Abraham, Isaac, a Jacob) o wneuthur eu gweithredoedd; a'r hwn ni wnel weithredoedd Abraham, a rhodio yn ôl ei draed, a amddifadir o'i fendithion ef.

Drachefn, edrychwn ar sefyllfa neillduol Sara o barthed i Abraham. Yr oedd hi yn deall y cyfan; hi a wyddai pe na chyfodid had i Abraham, nas gallai ef feddu ei ogoniant; ac yr oedd hi yn deall addewid yr Arglwydd, ac yn hiraethu am i Abraham gael had. A phan welodd ei bod yn hen, a chan ofni na chawsai hi y fraint o gyfodi had iddo, hi a roddodd i Abraham Hagar. A wnai cristionogion Cenedlig y fath beth yn y dyddiau hyn? O, na wnaent; ystyrient hyny yn ddigonol er danfon dyn i uffern diddarfod o dân a brwmstan. Paham? O herwydd fod traddodiad wedi gwthio hyn i'w meddyliau fel peth dychrynllyd ac ofnadwy.

Nid yw wahaniaeth ganddynt hwy pa mor llygredig y maent gyda brynt-waith benywaidd, os na fyddant wedi eu priodi yn

gyfreithlawn i fwy nag un wraig; eithr ystyrid yn beth enbyd ganddynt hwy i godi hiliogaeth trwy fwy nag un wraig; buasai hyn yn feius yn wir; eithr myned i buteindy, ac yno ymhalogi yn ngynniweirfeydd iselaf llygredigaeth holl ddyddiau eu hoes, a ystyriant yn ddibwys; ïe, gallant hyd y nod drwyddedu sefydliadau o'r fath mewn gwledydd Cristionogol, a phasia heibio yn burion iawn.

Traddodiad yw hwna; ac y mae eu hiliogaeth hwy wedi eu maethu a'u dwyn i fyny yn ôl traed drygioni. Marwolaeth yw hyn, ac y mae yn rhodio allan yn ben uchel yn nghanol dinasoedd mawrion a phoblogaidd Ewrop ac America.

A ydych chwi yn cael y fath gynniweirfeydd o aflendid, llygredigaeth, a thrueni yma, yn ninasoedd y mynyddoedd? Nac ydych. Pe byddai y fath bethau yn ein plith ni, teimlem yn ddigon eiddigus i weled y fath bersonau yn cael eu dileu allan o dudalen bodolaeth. Dyma fyddai teimladau y cydwladoldeb hwn.

Edrychwch ar y rhai a gyflawnent y fath ddrygioni yn Israel, yn y dyddiau gynt; pob gwrryw a benyw ag a gyflawnent odineb, a osodid i farwolaeth. Nid wyf fi yn dywedyd fod y bobl yma yn myned i wneyd hyn; eithr mi a ddywedaf wrthych pa beth a gredwn; credwn y dylai gael ei wneyd.

Y mae puteindra, godineb, ac anlladrwydd wedi melldithio cenedloedd y ddaear am amryw genedlaethau, ac y maent yn cynnyddu yn ofnadwy yn mhlith y bobloedd; eithr y mae yn rhaid iddynt gael eu llwyr ddileu oddiwrth y rhai a alwant eu hunain yn bobl Dduw; pe amgen, gwae, gwae fydd iddynt hwythau hefyd; canys "fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw Hollalluog," yn Llyfr Mormon, "gwae y rhai hyny a gyflawnant buteindra, canys hwy a wthir i lawr i uffern!" Nid oes ymwared oddiwrtho. Ni chaniatêir y cyfryw bethau yn y cydwladoldeb yma; a bydd i'r cyfryw gymmeriadau gael allan, y daw yr amser, ag y bydd i'r Duw hwnw sydd â'i lygaid ar holl blant dynion, a'r hwn sydd yn canfod y pethau a wneir yn y dirgel, ddwyn eu gweithredoedd i'r goleuni, a hwy a wneir yn esiampl gerbron y bobl; a chywilydd a gwaradwydd a lynant wrth eu hiliogaeth ar eu hol, hyd y drydedd a'r bedwaredd genedlaeth o'r rhai nad edifarhant.

Pa fodd y mae hyn i gael ei rwystro?– canys y mae genym ni

natur syrthiedig i afaelyd ynddi. Y mae i'w rwystro yn y ffordd a ddyfeisiodd Duw yn yr amseroedd gynt; hyny yw, trwy roddi i'w weision ffyddlawn amledd o wragedd, trwy yr hyn y gellir cyfodi hiliogaeth liosog a ffyddlawn, a'u dysgu yn egwyddorion cyfiawnder a gwirionedd; ac yna, ar ol iddynt lwyr ddeall yr egwyddorion hyny a roddwyd i'r hen batriarchiaid, os na chadwant gyfraith Duw, eithr cyflawni godineb, a throseddiadau cyffelyb, dileuer eu henwau o dan y nefoedd, fel na chaffont le yn mhlith pobl Dduw.

Ond etto, mae rheswm arall paham y bodola yr amledd hyn yn mhlith Saint y Dyddiau Diweddaf—yr wyf eisoes wedi rhoddi i chwi un rheswm, a hwnw yw, fel y caffoch etifeddu y bendithion a'r addewidion a wnaed i Abraham, Isaac, a Jacob, a chael parhad i'ch hiliogaeth hyd nes y byddont mor lliosog â'r tywod ar làn y môr. Y mae rheswm arall, ac un da hefyd. Pa beth a feddyliwch yw? Mi a ddywedaf wrthych; ac fe ymddengys yn rhesymol i bob dyn a dynes myfyrgar. Ai nid ydym yn credu, fel y mynegwyd i ni yn yr ysgrythyrau, fod cenedloedd drygionus y ddaear wedi eu tynghedu i ddystryw? Ydym; yr ym yn ei gredu. Ai nid ydym yn credu hefyd, megys y rhag-fynegodd y prophwydi, ynghylch y dyddiau diweddaf, yn gystal â'r hyn a fynegodd dadguddiadau newyddion ar y pwnc, fod tywyllwch yn ffynu ar y ddaear, a'r fagddu ar feddyliau y bobloedd; ac nid yn unig hyn, eithr y mae pob cnawd wedi ymlygru ei ffordd ar wyneb y ddaear; hyny yw, y mae yr holl genedloedd, a llefaru am danynt fel cenedloedd, wedi ymlygru gerbron y Goruchaf Dduw, trwy eu drygioni, eu puteindra, eu heilun-addoliaeth, eu ffieidd-dra, eu godineb, a phob math arall o ddrygioni? Ac yr ydym yn credu yn mhellach, yn ol y prophwydi Iuddewig, yn gystal â Llyfr Mormon, a'r dadguddiadau diweddar a roddwyd yn Llyfr Athrawiaeth a Chyfamodau, fod cleddyf dialedd yr Hollalluog eisoes wedi ei ddynoethi, a'i estyn allan, ac nid â yn ol i'r wain, hyd nes y syrthio ar benau y cenedloedd, os na edifarhant. Pa beth arall ydym yn gredu? Credwn fod Duw yn casglu allan o blith y cenedloedd hyn y rhai hyny a wrandawant ar ei lais, ac a dderbyniant gyhoeddiad yr efengyl, er eu sefydlu fel pobl yn unig wrthynt eu hunain, lle y gallant gael eu dysgu yn y ffordd iawn, a'u dwyn i wybodaeth o'r gwirionedd. Wel, o'r goreu, os mai fel hyn y mae, sef fod y cyfiawnion yn ymgasglu

allan, ac o hyd yn cael eu casglu o blith y cenedloedd, a'u sefydlu wrthynt eu hunain, y mae un peth yn sicr—fod y bobl hyny yn fwy cyfaddas i ddwyn plant i fyny yn yr uniawn ffordd, nag unrhyw bobl arall dan yr holl nefoedd. O, ie, meddai rhywun, os mai fel yna y mae—os mai chwi yw y bobl a arweinir gan yr Arglwydd, yr ydych o dan ddylanwad, gallu, a chyfarwyddid yr Hollalluog, a rhaid mai chwi yw y bobl oreu dan y nefoedd i hyfforddi y meddwl ieuengaidd;—eithr pa beth sydd gan hyny i wneyd ag amledd gwragedd? Mi a ddywedaf wrthych. Mynegais wrthych yn barod am ysbrydoedd gwrrywod a benywod, eu bod oll yn meddu cyn-fodoldeb, filoedd o flynyddoedd yn ol, yn y nefoedd, yn mhresennoldeb Duw; ac yr wyf eisoes wedi dweyd wrthych fod yn eu plith lawer o ysbrydoedd ag ydynt yn fwy rhagorol a gwybodus nag ereill, y rhai a elwid y mawrion a'r rhai galluog, wedi eu cadw erbyn goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, i ddyfod allan ar wyneb y ddaear, trwy rieni rhagorol, y rhai a hyfforddant y meddyliau ieuengaidd a thyner yn ngwirioneddau tragywyddoldeb, fel y cynnyddont yn yr Arglwydd, ac y byddont gryfion yn ngallu ei nerth,—fel y gwisger hwynt â'i ogoniant—fel eu llanwer â dirfawr ffydd—fel yr agorer gweledigaethau tragywyddoldeb i'w meddyliau, ac y byddont yn brophwydi, offeiriaid a breninoedd i'r Goruchaf Dduw. A ydych yn credu, meddai rhywun, eu bod yn cael eu cadw erbyn yr oruchwyliaeth ddiweddaf, i'r fath ddyben rhagorol? Ydym; ac yn mhlith y Saint y mae'r lle mwyaf tebygol i'r ysbrydoedd hyn gymmeryd eu pebyll—trwy rieni cyfiawn a chywir. Maent hwy i'w danfon at y bobl hyny ag ydynt y cyfiawnaf o bob pobl arall ar y ddaear; yno i gael eu hyfforddi yn briodol, yn ol eu rhagoroldeb a'u dealltwriaeth, ac yn ol y cyfreithiau a ordeiniodd yr Arglwydd cyn eu geni. Dyna y rheswm paham y mae yr Arglwydd yn eu danfon yma, frodyr a chwiorydd; penodir hwynt i ddyfod a chymmeryd eu cyrff yma, fel yn eu cenedlaethau y cyfodid hwy yn mhlith y cyfiawnion. Nid yw yr Arglwydd wedi eu cadw yn ystôr dros bum neu chwech mil o flynyddoedd, a'u cadw i ddysgwyl am eu cyrff yr holl amser hyn, er eu danfon i blith yr Hottentotiaid, y negroaid Affricanaidd, yr Hindwaid eilun-addolgar, na neb ereill o genedloedd syrthiedig a breswyliant ar wyneb y ddaear hon. Ni chedwir hwynt yn ol er mwyn derbyn y fath dadogaeth isel ar y

ddaear; na, nid yw yr Arglwydd yn gyfryw fod â hyny: ei gyfiawnder, ei ddaioni, a'i drugaredd ef a fawrygir tuagat y rhai hyny a etholwyd cyn eu geni; ac y maent hwy yn hiraethu dyfod, a hwy a ddeuant i blith saint y Duw byw; hyn fyddai eu pleser a'u llawenydd penaf, sef gwybod y gallent gael y fraint o'u geni trwy y fath rieni rhagorol.

Gan hyny, onid yw yn rhesymol a chysson, fod yr Arglwydd yn dywedyd wrth eu weision ffyddlawn ac etholedig, ag oeddynt wedi profi eu hunain ger ei fron ef trwy gydol y dydd—ac a fuont yn barod ac ewyllysgar i wneuthur pa beth bynag a ofynai ei ewyllys ef iddynt ei wneyd,—Cymmerwch i chwi eich hunain ragor o wragedd, yn gyffelyb i'r patriarchiaid, Abraham, Isaac, a Jacob —yn gyffelyb i'r rhai hyny a fuont byw yn yr amseroedd gynt, ac a rodient yn fy llwybrau i, ac a gadwent fy ngorchymynion? Paham na ddylent wneuthur hyn? Meddyliwch pe atebai yr Arglwydd y gofyniad hwn—ai ni ddywedai ef, Y mae genyf yma yn nghadw ysbrydoedd rhagorol, y rhai a fuont yn dysgwyl am filoedd o flynyddau i ddyfod allan yn nghyflawnder yr amseroedd, a'r rhai a fwriedais i ddyfod allan trwy fy ngweision ffyddlawn ac etholedig hyn, canys mi a wn y gwnant fy ewyllys, ac y dysgant eu plant ar eu hol i'w gwneuthur.—Ai nid hyn fyddai sylwedd yr ymadrodd, pe gwnai yr Arglwydd ein hateb ar y pwnc hwn?

Eithr wed'yn fe gyfyd gofyniad arall; pa fodd y mae'r pethau hyn i'w dwyn yn mlaen? A ydynt i'w gadael ar antur? A ydyw pob gwas i Dduw at ei ryddid i redeg yma ac acw, i geisio merched dynion iddynt eu hunain yn wragedd, heb un attaliad, cyfraith, neu ammod? Nac ydynt. Cawn y cyfyngiad hyn yn yr amseroedd gynt. Ai nid ydych yn cofio yr amgylchiad o fod y prophwyd Nathan yn dyfod at Dafydd? Efe a ddaeth i'w geryddu am ei anufydd-dod, ac a ddywedodd wrtho am y gwragedd a gollodd trwy hyny; y gwnai yr Arglwydd eu rhoddi i arall; a dywedodd wrtho, pe buasai yn ffyddlawn, y rhoddasai yr Arglwydd etto ychwaneg iddo, pe gofynasai yn unig am danynt. Nathan y prophwyd, o barthed i Dafydd, oedd y gwr a feddai yr agoriadau perthynol i'r mater yma yn y dyddiau gynt, ac yr oedd yn cael ei reoli trwy y cyfreithiau mwyaf caeth.

Felly yn y dyddiau hyn; gadewch i mi hysbysu i'r gynnulleidfa hon, nad oes ond un dyn yn yr holl fyd, ar yr un amser, a all

ddal agoriadau y mater yma; dim ond un dyn a fedd allu i droi yr agoriad i ymofyn â'r Arglwydd, ac i ddywedyd pa un ai myfi, neu fy mrodyr hyn, neu ryw rai ereill yn y gynnulleidfa hon, neu y saint ar wyneb yr holl ddaear, a all gael y fendith hon o eiddo Abraham wedi ei chyflwyno arnynt; efe sydd yn dal agoriadau y materion hyn yn awr, yr un fath ag oedd Nathan yn ei ddydd yntau.

Eithr, meddai rhywun, pa fodd y cawsoch chwi y wybodaeth hon? Trwy ddadguddiad newydd. Pa bryd ei rhoddwyd, ac i bwy? Cafodd ei roddi i'n Prophwyd, Gweledydd, a Dadguddiwr, Joseph Smith, ar y 12fed o Orphenaf, 1843; dim ond oddeutu un mis ar ddeg cyn iddo gael ei ferthyru am dystiolaeth yr Iesu.

Efe a ddaliai agoriadau y materion hyn; meddai yr hawl i ymofyn â'r Arglwydd; a gosododd yr Arglwydd derfynau a chyfyngiadau ar y pethau hyn; efe a fynegodd wrthym yn y dadguddiad hwnw, mai dim ond un dyn a all ddal yr agoriadau hyn ar y ddaear, ar yr un amser; a pherthynant i'r dyn hwnw sydd yn sefyll wrth y pen, i lywyddu dros holl achosion eglwys a theyrnas Dduw yn y dyddiau diweddaf. Hwynthwy ydynt yr agoriadau seliadol o allu, neu mewn geiriau ereill, o eiddo Elias, gan fod wedi eu cyflwyno a'u hadferu i'r ddaear gan Elias, y prophwyd, yr hwn a ddaliai amryw agoriadau, yn mhlith pa rai yr oedd yr agoriadau seliadol, i rwymo calonau y tadau at y plant, a'r plant at y tadau, ynghyd â'r holl agoriadau a'r galluoedd seliadol ereill, perthynol i'r oruchwyliaeth ddiweddaf. Hwy a gyflwynwyd gan yr angel hwnw a weinyddodd yn Nheml Kirtland, ac a lefarodd wrth Joseph, y prophwyd, ar amser y cynnysgaethiadau yn y tŷ hwnw.

Yn awr, ymofynwn pa beth a ddaw o'r personau hyny y dysgir y gyfraith hon iddynt mewn symlrwydd, os gwrthodant hi? [Llef o'r tu cefn, "Hwy a ddemnir."] Mi a ddywedaf wrthych, hwy a ddemnir, medd yr Arglwydd Dduw Hollalluog, yn y Dadguddiad a roddodd. Paham? O herwydd lle y rhoddir llawer, y gofynir llawer; a lle y byddo gwybodaeth fawr yn cael ei hamlygu, er dyrchafiad, gogoniant, a dedwyddwch meibion a merched Duw, os cauant eu calonau—os gwrthodant dystiolaeth ei air, ac ni sylwant ar yr egwyddorion a ordeiniodd efe er eu daioni, y maent yn haeddu damnedigaeth, ac y mae'r Arglwydd wedi dywedyd y cânt eu damnio. Hyn oedd gair yr

Arglwydd wrth ei was Joseph y prophwyd ei hun. Er yr holl wybodaeth a'r goleuni a feddai ef, yr oedd yn rhaid iddo ufydd-hau, onide, medd yr Arglwydd wrtho, chwi a ddemnir; ac y mae yr un peth yn wir o barthed yr holl rai hyny a wrthodant y pethau hyn.

Pa beth arall a glywsom oddiwrth ein Llywydd? efe a adroddodd wrthym fod rhai damnedigaethau ag ydynt yn dragywyddol yn eu natur, tra nad ydyw rhai ereill ond am rhyw yspaid penodol. Fe fydd diwedd ar eu damnedigaeth hwy, ond ni chant adferiad i'w breintiau blaenorol, eithr gwaredigaeth oddiwrth gospedigaethau penodol; ac yn lle cael eu hadferu yn ol i'r holl freintiau a berthynai i ddyn cyn y cwymp, ni chant amgen nâ chaniatâd i fwynhau rhyw radd o ddedwyddwch, eithr nid cyflawn adferiad. Ymofynwn ynghylch y rhai hyny ag ydynt i gael eu damnio, gan ganiatâu y cânt eu gwaredu, yr hyn a gant os na fyddant wedi pechu yn erbyn yr Ysbryd Glân. Hwy a gant eu gwaredu, eithr pa beth a fydd? A fydd er dyrchafiad a chyflawnder o ogoniant? A fydd er dyfod yn feibion Duw, neu Dduwiau i deyrnasu ar orseddau, a lliosogi eu hiliogaeth, a theyrnasu arnynt megys breninoedd? Na fydd. Y maent wedi colli y fraint oruchel hono dros byth; er y gallant, ar ol cael eu poeni am yspeidiau hirfaith, ddianc gyda chroen eu dannedd; eithr ni roddir un deyrnas iddynt hwy. Pa beth fydd eu cyflwr? Mi a ddywedaf wrthych pa beth a ddywed dadguddiad, nid yn unig am y rhai a wrthodant y pethau hyn, eithr am y rhai hyny, trwy eu diofalwch, neu ddiffyg ffydd, neu rywbeth arall, a fethasant gael eu priodasau wedi eu selio dros amser a thros bob tragywyddoldeb; y rhai hyny ag na wnant y pethau hyn, fel ag i gael yr un ordinhadau wedi eu selio ar eu penau trwy awdurdod ddwyfol, ag a seliwyd ar ben yr hen dad Adda—os methant ei wneuthur o herwydd eu drygioni a'u hannuwioldeb—wele, ni chant hwythau ychwaith byth y fraint o feddu yr hyn a feddir gan y Duwiau ag sydd yn dal yr agoriadau o allu i ddod i fyny i orseddau eu dyrchafiad, a derbyn eu teyrnasoedd. Paham? O herwydd, medd yr Arglwydd, pob llwon, pob cyfammodau, pob cytundebau, &c., a'r a wnaed gan ddyn, ac nid genyf fi, a thrwy yr awdurdod a sefydlais, a ddarfyddant pan wahenir y pleidiau gan farwolaeth; dyna yw'r diwedd, dyna y darfyddiad—ni chyrhaeddant yn mhellach; ac nis gall y cyfryw berson

ddyfod i fyny yn moreu yr adgyfodiad, a dywedyd, Wele, yr wyf yn eich hawlio chwi fel fy ngwraig, fy eiddo i ydych, mi a'ch priodais yn y byd arall cyn marwolaeth, ac o ganlyniad fy eiddo i ydych: nis gall efe ddywedyd hyn. Paham? O herwydd na phriododd erioed y person hwnw dros dragywyddoldeb.

Meddyliwch pe gwnaent gyfammod a chytundeb, a phenderfynu rhyngddynt eu hunain i fyw gyda'u gilydd i bob tragywyddoldeb, ac heb erioed gael hyny wedi ei selio gan allu seliadol yr Arglwydd, trwy yr offeiriadaeth santaidd, a fuasai hawl ganddynt ar eu gilydd yn moreu yr adgyfodiad? Na fuasai; ni fyddai yn safadwy na chyfreithlawn, a dywedai yr Arglwydd nad ydoedd trwyddo ef; ni seliwyd eich cyfammodau ar y ddaear, ac o ganlyniad nid ydynt wedi eu selio yn y nefoedd; nid ydynt wedi eu hysgrifenu yn fy llyfr i, ac nid ydynt i'w cael yn y cof-lyfrau ag sydd yn nghofnodfa tragywyddoldeb; am hyny, y bendithion a allasech fod wedi eu cael. nid ydynt i'w mwynhau genych chwi. Pa beth fydd eu sefyllfa hwy? y mae yr Arglwydd wedi mynegi wrthym. Efe a ddywed mai angylion ydynt; oblegid na chadwant y gyfraith hon, hwy a fyddant yn weision gwasanaethgar i'r rhai hyny ag ydynt yn deilwng i gael tra rhagorach dragywyddol bwys gogoniant; am hyny, medd yr Arglwydd, hwy a arosant yn unigol a gwahanedig yn eu sefyllfa gadwedig, ac ni chant allu i ymgynnyddu, ac felly yr arosant yn oes oesoedd.

Gellwch yma, ynte, ddarllen eu hanes; nid ydynt hwy Dduwiau, eithr angylion ydynt neu weision i'r Duwiau. Y mae gwahaniaeth rhwng y ddau ddosparth; mae y Duwiau yn ddyrchafedig; maent yn dal agoriadau o allu, ac wedi eu gwneyd yn freninoedd ac offeiriaid, a rhoddir y gallu hwn iddynt mewn amser trwy yr offeiriadaeth dragywyddol, i gynnal teyrnas yn nhragywyddoldeb yr hon ni chymmerir oddiwrthynt yn oes oesoedd, a hwy a genedlant eu rhywogaeth. Nid gweision ydynt hwy; canys nid yw un Duw i fod yn was i Dduw arall; ac nid angylion ydynt; dyma'r rheswm paham y dywedodd Paul, "Ai ni wyddoch chwi, frodyr, y barnwn ni angylion?" Mae yr angylion yn is nâ'r saint a ddyrchefir yn freninoedd. Yr angylion hyn ag ydynt i gael eu barnu ac i ddyfod yn weision i'r Duwiau, ni chadwasant y gyfraith; am hyny, er eu bod yn

gadwedig, hwy a fyddant yn weision i'r rhai ag ydynt mewn sefyllfa uwch.

Pa beth a fwriada yr Arglwydd wneuthur o'r bobl hyn? Bwriada eu gwneyd yn Deyrnas o Freninoedd ac Offeiriaid, teyrnas iddo ei hun, neu mewn geiriau ereill, teyrnas o Dduwiau, os gwrandawant ar ei gyfraith ef. Bydd llawer a'r na wrandawant; bydd y rhai ffol yn mhlith y rhai doeth a'r na dderbyniant y cyfammod newydd a thragywyddol yn ei gyflawnder, ac ni chyrhaeddant byth i'w dyrchafiad, ac ni chyfrifir hwynt byth yn deilwng i ddal teyrnwialen awdurdod dros hiliogaeth liosog, y rhai a amlhant eu hunain yn ddiddiwedd, fel y tywod ar làn y môr.

Nis gallwn gyffwrdd ond yn unig yma ac acw ar y pwnc mawr hwn,—nis gallwn ond yn unig gynnyg ychydig o eiriau o berthynas i'r athrawiaeth fawreddog, hyfrydol, a gogoneddus hon, ag a ddadguddiwyd gan y Prophwyd, Gweledydd, a Dadguddiwr, Joseph Smith, yr hwn a seliodd ei dystiolaeth â'i waed, ac a ddadguddiodd fel yma i'r cenedloedd y pethau ag oedd yn yr amseroedd gynt, yn gystal â phethau i ddyfod.

Eithr tra yr wyf yn siarad, y mae gwelediad fy meddwl yn cael ei agor; y mae'r pwnc yn ymdaenu ac yn ymgangenu allan fel cangenau pren cynnyddfawr; a chyda golwg ar ogoniant Duw, pa mor fawr ydyw. Teimlaf i ddywedyd haleliwia i'w enw mawr a santaidd; canys efe a deyrnasa yn y nefoedd, ac a ddyrchafa ei bobl i eistedd gydag ef ar orseddau o awdurdod i deyrnasu yn oes oesoedd.—*O'r "Deseret News Extra."*

---

## PERTHYNASAU TEULUAIDD.

"Na thybiwch fy nyfod i ddanfon tangnefedd ar y ddaear: ni ddaethym i ddanfon tangnefedd, ond cleddyf. Canys mi a ddaethym i osod dyn i amrafaelio yn erbyn ei dad, a'r ferch yn erbyn ei mam, a'r waudd yn erbyn ei chwegr. A gelynion dyn fydd tylwyth ei dy ei hun."—Iesu.

"Trowch, chwi blant gwrthnysig, medd yr Arglwydd, canys myfi a'ch priodais chwi: a mi a'ch cymmeraf chwi, un o ddinas, a dau o deulu, ac a'ch dygaf chwi i Seion."—Jer. iii, 14.

Oddiwrth y mynegiadau uchod o eiddo ein Hiachawdwr a'r prophwyd ysbrydoledig, ni a allwn gasglu yn rhesymol y bydd pregethiad yr Efengyl i genedloedd y ddaear, yn cael ei ganlyn, i raddau mawr, â dadgysylltiad o undeb teuluaidd a pherthynasol. Ond paham hyn oll? Oblegid nad yw y cyssylltiadau a'r

perthynasau hyny wedi eu ffurfio trwy gymmeradwyaeth a chadarnhad cyflawn y nefoedd; ni osododd yr offeiriadaeth santaidd sêl dragywyddol ar eu cyfammodau; ni rwymwyd hwynt ar y ddaear trwy yr awdurdodau hyny a gydnabyddir gan Dduw; o ganlyniad ni rwymwyd hwynt yn y nefoedd. Nid yw yr Arglwydd yn danfon cenadwri i ddryllio a dinystrio ei sefydliadau ei hun, pan y gofalir yn gyfreithlawn am danynt ac eu perchir yn mysg dynion.

Er i angylion gyhoeddi, ar enedigaeth ein Hiachawdwr, y newyddion da o dangnefedd ar y ddaear, ac i ddynion ewyllys da, etto mae yn amlwg oddiwrth y canlyniad, mai bwriad ei genadwri oedd yn unig dwyn heddwch i'r rhai hyny a dderbynient ei genadwri, ac nid oeddynt hwy ond ychydig, megys lloffiad grawnwin wedi darfod y cynauaf. Yr un canlyniadau ag a rag-ddywedwyd gan ein Hiachawdwr, a ddilynant bregethiad yr Efengyl gan Saint y Dyddiau Diweddaf, ac y mae yn rheswm o blaid y ffaith o'u bod yn pregethu yr un egwyddorion pur ag a bregethodd yr Iesu. Mae y rhai hyny ag ydynt yn derbyn yr egwyddorion hyn, yn amlygu eu rhagoroldeb ar bob egwyddorion ereill, yn gymmaint â bod pob rhwymiadau, anwylderau, ac undebau daearol trwy ba rai y maent wedi eu cyssylltu wrth y byd, yn colli eu rhinwedd i raddau mwy neu lai, lle mae cyssylltiad wedi ei wneyd â'r hyn a ordeiniwyd o Dduw, ac a weinyddwyd trwy rinwedd Offeiriadaeth dragywyddol yn ol urdd Duw.

Yn absennoldeb yr Offeiriadaeth am ganrifoedd sydd wedi myned heibio, dynion a osodasant eu cyfreithiau a'u trefniadau eu hunain, er llywodraethu, nid yn unig yr ordinhad briodasol, ond yn agos yr holl ordinhadau ereill a sefydlwyd gan Dduw, ac a ddadguddiwyd i ddyn. Yn absennoldeb unrhyw gyd-gyfrinach â Duw, cenedloedd y ddaear a benodasant, trwy gyfraith ddynol, rwymedigaethau gwr a gwraig, ac hefyd eiddo rhieni a phlant. Mae yr amser pan y mae y rhwymedigaethau hyn yn darfod, yn cael ei nodi gan gyfraith; rhyddheir plant oddiwrth eu rhieni pan o oedran penodol,—a gwyr a gwragedd, ar farwolaeth y naill neu'r llall, a ryddheir yn llwyr oddiwrth eu rhwymedigaethau. Ac felly, trwy y goleuedig fyd Cristionogol, y mae ordinhadau Duw mewn effaith yn cael eu dinystrio, a'u gwneyd yn *ddaearol*, trwy eu parhad; ac o'r herwydd, maent yn myned yn *anianol* a *dieflig*. Mae'r diafol erioed wedi ceisio gosod terfyn ar weithredoedd Duw, ac y mae doethineb (!) y byd wedi ordeinio fod diwedd ar ei sefydliadau mwyaf cyssegredig ef. Mor annhebyg i Dduw, yr hwn sydd yn anghyfnewidiol!—yr hwn sydd â'i gwrs yn un cylchdro tragywyddol—am yr hwn y dywedodd yr Iesu, "Yr hyn a gyssylltodd *Duw*, na wahaned dyn."

Nid rhyfedd, gan hyny, fod y cylch teuluaidd i'w gael yn fynych yn ansefydlog, pan y mae gallu Duw wedi ei ddwyn i weithredu arno; oblegid trwy ei air y mae Ef wedi bwriadu ysgwyd pob peth a ellir ei ysgwyd, fel nad aroso ond yn unig yr hyn sydd yn dragywyddol. Nid rhyfedd nad yw y mab, yr hwn a ufydd-

haodd i'r gorchymyn nefol, mwyach yn bloesg-acenu gyda serch mabol yr enw anwylaidd tad, tra bo y tad yn ddrwg ganddo am gydwybodolrwydd ei fab yn dewis cyssylltiad santeiddiach a chadarnach. Nid rhyfedd fod y ferch a'r fam yr un modd yn anmharchu y naill y llall; a bod hyd y nod y gwr a'r wraig yn fynych yn cael eu gosod mewn amrafael trwy air Duw, yr hwn sydd gyflym a nerthol i wahanu oddiwrth eu gilydd y rhai sydd yn ei dderbyn a'r rhai sydd yn ei wrthod.

Pa le bynag y pregethir Efengyl Iesu Grist, y mae ei dylanwad yn yr ystyr hyn i'w deimlo, nid yn unig yn y cylch teuluaidd ac yn mhlith perthynasau agos, eithr mewn cymdeithasau a chyfenwadau, ac yn mhob teyrnas a llywodraeth.

Paham y mae hyd y nod y genadwri o heddwch, pan ei chyhoedder trwy awdurdod, i'w chael yn nghymdeithas y fath olygfeydd o amryson? Oblegid ei bod yn cyfarfod â'i gwrthwyneb pa le bynag yr elo. Y mae yn gwahanu y drwg oddiwrth y da, fel yr adwaeno yr Arglwydd ei eiddo, ac y dygo hwynt i Seion, serch pe byddent ond un o ddinas a dau o deulu.

Y mae Efengyl yr heddwch yn cael ei phregethu i'r rhai hyny a ymhyfrydant ynddi, fel y gallont wneuthur cyfammod o heddwch â'u Duw, yr hwn a'u gwna yn ddiogel, tra y byddo Efe yn malurio y cenedloedd fel llestr y crochenydd. Megys y gwna goleuni ymlynu wrth oleuni, felly y gwna y rhai sydd yn caru heddwch, ymlynu wrth y cyfammod heddwch; ac y maent hwy yn myned allan o ganol drygioni, yr hwn sydd yn dwyn annhrefn a dinystr.

Fe ddylai pob dyn wybod fod Duw yn ei gydnabod fel etifedd cyfreithlawn o'i ogoniant a'i allu, canys hyn yw ei fraint yn ol bwriadau Duw,—ac os oes ganddo deulu, y mae yn ddyledswydd ag sydd yn ddyledus arno iddynt hwy: ac yna, fel Duw, efe a ddylai edrych ar bob arwydd o ymraniad yn ei deulu fel trais ar ei iawnderau, megys y gwna dyfodiad dirgelaidd gelyn marwol, yr hwn, oni ddelir ef, gloddio hyd y nod o dan y sylfaen o'i ogoniant a'i lywodraeth. Dylid arswydo ei ddylanwad yn fwy nâ brathiad y wiber, neu arogledd heintiol yr Upas. Mae yn genad angeu i'w breswylfod, yn dymmorol ac ysbrydol.

Nid yw teulu a feithrinwyd dan ddylanwad rhieni ysbrydoledig, ac a wrandawsant ar addysgiadau Patriarch duwiol, byth yn cael eu gosod mewn amrafael gan genadwri yr Efengyl. Iddynt hwy y mae yn dwyn heddwch, ac yn cadarnhau cylymiadau eu hundeb a'u brawdgarwch. Ni ymladd gwirionedd ond yn unig â chyfeiliornad; ni amrafaelia goleuni ond yn unig a thywyllwch; ac nid yw gweinidogaeth yr Iesu neu ei genadon, ond yn unig yn codi amryson lle y bu Satan yn meddu llywodraeth: ac os bydd gelynion dyn o dylwyth ei dŷ ei hun, o achos y gwirionedd, hyny sydd am fod gelyn y gwirionedd yn trigo yno.

Pan ga dynolryw fynediad i ysgol dadguddiad uniongyrchol a dwyfol, byddant yn alluog i ddysgu gwir fwriadau Duw mewn perthynas iddynt, ac nid cyn hyny. Yna y gwybyddant yn sier na fwriadodd Ef erioed i dori a dinystrio y berthynas deuluaidd,

ond fod y drefn berthynasol ar y ddaear i fod yn gyffelyb i'r hyn ydyw yn y nefoedd, trwy yr hyn y mae lluoedd y nefoedd wedi eu huno ynghyd mewn rhwymyn annattodadwy o undeb a brawdgarwch. Oddieithr i ddynolryw gyfranogi o rinweddau llwyrhysbys y berthynas ddaearol, nis gallant fod yn barod i gyfranogi o lawenydd yr un nefol.

Ni ddylent, gan hyny, byth edrych gyda difaterwch ar yr amser pan fyddo plant yn tyfu i fyny a dechreu cofleidio ffyddiau gwahanol, neu ymuno â gwahanol gredoau ac enwadau, yn wrthwynebol i'w gilydd mewn egwyddor, a'u tuedd i greu cymmeriadau lled amrywiol yn y rhai a'u mabwysiadant fel eu rheol o weithrediad. Mae hyn yn fynych yn cael ei oddef mewn aelodau o'r un teulu, i'r fath raddau fel nad ydynt yn gallu derbyn o'r un mwynderau; yr hyn a hoffir ac a fawrheir gan y naill, a ymddengys yn ddirmygus gan y llall; a diystyrwch dieflig tuag at y naill y llall a gynnydda, hyd nes y bo rhydd-gyfnewid meddwl a barn yn gwbl wrthwynebus gan y ddau, canys yr hyn a gyfansodda ddedwyddwch y naill yw trueni y llall; tuedd derfynol yr hyn yw eu gwneyd yn hollol analluog i gyd-drigo yn mhresennoldeb a gogoniant Duw; canys nid oes croesineb yn teyrnasu yn ei drigfa wynfydedig ef, eithr y mae pawb yn un, megys y mae'r Tad a'r Mab yn un.

Y fath ddarlun ofnadwy a gyflwynir fel hyn yn mhlith teuluoedd ar y ddaear, mewn cyferbyniad i deulu y nefoedd, ac i undeb y Duwdod. O herwydd y fath sefyllfa ar bethau, y mae'r Arglwydd wedi penodi darfodedigaeth ar holl wyneb y ddaear.

Mae mor lleied o bwys yn cael ei gyssylltu ag ordinhadau a sefydliadau Duw, gan y byd Cristionogol, yn gyffredin, fel ag y cyfrifir hwynt fel pethau darfodedig, y rhai yn unig a berthynant i'r ddaear, ac fel hithau a raid fyned heibio. Mae hyn, pa fodd bynag, yn mhell iawn oddiwrth y gwirionedd, ac nid hyd nes y gwneir i ddynion wybod fod ordinhadau Duw yn angenrheidiol i fywyd tragywyddol (ac os byth y perffeithir hwynt, rhaid i hyny fod yn y perffaith fwynhad o honynt), y cymmerant y sefyllfa ddyrchafedig hono mewn cymdeithas ag a'u hadfera hwynt i ffafr Duw.

Mewn trefn i amddiffyn, a chadw yn gyssegredig, sefydliadau y nefoedd, mae yn rhaid i'r gwr wybod fod y wraig wedi ei harfaethu er ei gymhorth tragywyddol, mewn undeb ag y dylai y ddau ymberffeithio mewn cariad, a thrwy rinwedd cyfammod, pan ei dorid, a fythol waradwyddai ei dorwr. Yna rhieni a ddechreuant wybod gwerth eu plant; wrth gael eu gwneuthur yn gyfrifol drostynt i Dduw, hwy a ddysgant mai hebddynt y bydd diwedd ar eu gogoniant, yr hyn a'u hannogai, ysgatfydd, fel y tadau gynt, i ennill iddynt hwy, trwy addewid Duw, gyfran o'r ddaear yn feddiant *tragywyddol*, a thros ba un y cai eu llywodraeth ei hestyn.

Yna y gwna plant ddysgu yn y dydd tragywyddol hwnw pan y byddont yn meddiannu etifeddiaeth a gafwyd trwy eu tadau,

eu bod yn blant etto, ac mai trwy eu tadau, fel Patriarchiaid, y maent yn yfed o ffrwd bywyd diddiwedd. Ond yn awr, mor wahanol yr olygfa! mor llygredig y galon ddynol; mor gyfnewidiol ordinhadau Duw; fel eu prynir ac eu gwerthir, er mwyn elw, ac eu gwneir i ateb dybenion trachwantus; mor ŵyrdroedig ydynt oddiwrth eu bwriadau dechreuol, ac mor hollol analluog, trwy yr ymarferiad presennol o honynt, i ateb eu dybenion. Rhinwedd, yr agoriad i lawenydd diddiwedd, a aberthir i chwant, a'i swynion a roddwyd i aflendid.

Y gwr priod a'r tad yn fynych ydynt yn mhlith cymdeithasau anghyfreithlawn yn gloddesta, yn aberthu teimladau mwyaf tyner cydymmaith mynwesol, pan y dylasai fod yn ddialwr ei chamwri. Trwy rieni y cenedlir hadau amryson, a chwantau annaturiol, y rhai a flagurant ac a ddeuant yn eppiliog yn y genedlaeth sydd yn cyfodi: pa rai fel hyn a etifeddant oddiwrth eu rhieni chwaeth afreolus at ddrygioni yn ei holl ddulliau lliosog. Y plant, wedi y derbyniant ryddid trwy esiampl eu rhieni, a oddefir yn mhob melys-chwant cnawdol, nes y byddo cyd-ymdeimlad tyner eu heneidiau, yn dyfod mor seriedig, fel nad ydynt yn gallu derbyn y cynhyrfiadau anwylaidd hyny, â pha rai yr oedd natur yn ei hawddgarwch, unwaith yn eu cyfranu mor rhwydd i'w chreaduriaid.

Yn ddiau yr oedd y fath ymddangosiadau â'r rhai'n yn cael eu ffieiddio gan y lluoedd fry, pan oedd y ddaear, yr hon unwaith a fu yn hardd ac yn hawddgar, yn aros yn mhresennoldeb Duw, yn cael ei bwrw lawr i gysgodau y nos, er cael gorchudd gwael i guddio y fath weithredoedd porphoraidd oddiwrth ogoniant ysol ei Gwneuthurwr. Ond i Dduw y bo'r diolch, yr hwn sydd wedi bwriadu ei dyrchafu drachefn i'w bresennoldeb. Y mae cenadau oddifry hyd y nod yn awr yn gweinidogaethu, ac yn dweyd wrth ddyn fod y dydd wedi dyfod, a'r awr yn agos wrth law, pan y rhwygir llèn ei gorchudd, a phan y gwel pob llygad Ef, yr hwn sydd yn wisgedig â chyfiawnder, i wneuthur barn ar yr holl ddaear.

Y byd Cristionogol a allant ddarllen, ac y mae y rhan fwyaf o honynt yn credu, fod prophwydi yn ddiau wedi rhag-ddywedyd, ac Apostolion wedi mynegi yn awdurdodol, y byddai i Dduw, mewn dydd sydd i ddyfod, waeddi â llef uchel ar ei bobl, i ddyfod allan o blith y fath arddangosiadau Babilonaidd, fel na byddai iddynt gael derbyn o'r pläau â pha rai y mae Ef wedi bwriadu gosod terfyn ar y fath annhrefn. Ac mor sicr â bod pobl gan Dduw ar y ddaear, pa le bynag y gallant fod, fe ofynir hyn ganddynt; ac ni feddant un addewid arall o waredigaeth oddiwrth bläau y rhai drygionus, ond trwy fyned allan o'u canol hwynt.

Yr alwad hon a wnaed yn y dydd yr ydym ni yn byw ynddo. Mae Duw wedi ei llefaru o'r nefoedd: mae angylion wedi gweinidogaethu ar y ddaear, a'i thraethu i ddynion; mae'r dynion hyn wedi ei chyhoeddi ar led wrth bobl Dduw; ac mae'r adfyfyrion hyn wedi eu dwyn allan o herwydd yr anhawsderau sydd raid i

lawer o'r Saint ymdrechu yn eu herbyn wrth ufyddhau i'r alwad, gan fod rhai yn cael eu rhwystro trwy berthynasau anghrediniol, pa rai ydynt yn fynych yn aelodau o'r un teulu. Wrth bawb o'r cyfryw yr ewyllysiem ddywedyd, bydded i amynedd gael ei pherffaith waith, ac ni chyll neb o honoch ei wobr; canys Duw, yn y modd mwyaf doeth, a amlyga ei ewyllys mewn perthynas i amser eich ymadawiad; a llawer o'r cyfryw ag sydd yn awr wedi eu hamddifadu o'r hyn ag sydd yn anwyl gan eu calonau, a welant y dydd yn fuan pan y bydd i'r fath rwymau gael eu tori, a'r rhai hyny ag sydd yn awr yn eu rhwystro hwynt rhag myned, a frysiant mewn llawenydd i fyned gyda hwynt i fwynhau yr heddwch sydd yn Seion.

Y mae rhai rhieni yn aros yma flwyddyn ar ol blwyddyn, gan obeithio perswadio eu plant i fyned gyda hwynt, gan daer ddymuno eu hiachawdwriaeth. Ni a ddymunem adgoffa yr holl rai hyny o'r ffaith, fod yn rhaid iddynt yn gyntaf feddiannu gallu a dylanwad oddiwrth Dduw, os ewyllysiant ddefnyddio dylanwad priodol dros y cyfryw y maent hwy yn eu caru. Ni wnaeth yr Iesu obeithio cyflawnu gwaith mor fawr tra y bu yn trigo yn mhlith dynion, eithr efe a ddywedodd, "A minnau, os dyrchefir, a dynaf bawb ataf fy hun," gan ddysgwyl yn ddiau, pan adawai y byd, y byddai ei allu a'i ddylanwad yn fwy dros y rhai hyny ag oedd yn eu caru, nâ'r pryd ag oedd yn trigo yn eu plith hwynt. Felly y bydd gyda rhieni a ânt i fyny i Seion, ac a gadwant orchymynion ac ordinhadau Duw; hwy a gant fwy o ddylanwad a gallu dros y rhai hyny y maent yn eu caru, i'w tynu hwynt ar eu hol. I'r dybenion hyn y gosodwyd ordinhadau Duw, a thrwyddynt hwy yn unig y gallwn gael gallu i weinyddu iachawdwriaeth i ereill. Am hyny, y mae yn dyfod yn ddyledswydd ar bawb a dderbyniant yr Efengyl, ar ol iddynt ddwyn eu tystiolaeth i'w cyfeillion, i ffoi tua Seion, fel y gallont etifeddu gallu cadwedigol, trwy ordinhadau y bywyd, y rhai a ddygant brynedigaeth iddynt eu hunain, ac i'r rhai hyny a roddodd neu a rydd Duw iddynt.

Os rhwystra rhieni y plant rhag cadw gorchymynion Duw, hwy a fyddant yn atebol dros y cyfryw a lywodraethant; ac am yr holl ddrwg a ddeillia trwy hyny, mewn dydd sydd i ddyfod hwy a gant dalu yr hyn sydd ddyledus i gyfiawnder. Gweithredoedd pawb y daw yr Efengyl atynt yn y byd hwn, a benderfyna eu tynghed yn y byd sydd i ddyfod; yr hyn a'i gwna o'r pwys mwyaf i wyr a gwragedd, rhieni a phlant, bob un o honynt, i wneyd yr hyn a berthyna iddynt, yn eu perthynas tuag at eu gilydd, a thuag at Dduw; fel y gallont wybod trwy ddadguddiadau ei Ysbryd Ef, eu bod wedi rhwystro drygioni, a chadw ufydd-dod i Dduw yn mhob peth; fel y gellir dywedyd wrthynt, "Da was, da a ffyddlawn, dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd."—*Star*.

*Cefn*, *Cyf.* M. JENKINS.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y MAE un M. Pannewitz wedi anrhegu Brenin Prussia â llyfr wedi ei argraffu ar bapyr a wnaed yn gwbl o binwydd, ynghyd â rhwymiad o'r un defnydd.

Os ydych am gael blas ar eich bwyd, llafuriwch am dano.

Y DYN doeth a brisia foddlonrwydd yn fwy nâ golud; a meddwl rhinweddol yn fwy nâ derchafiad bydol.

NID oes un dyn yn ddarbodus o'i amser, os na fydd yn ddoeth yn newisiad ei gyfeillach.

NI ddylai y dyn cyfiawn gyfrif dim yn fwy gwerthfawr nâ'i air, dim yn fwy hybarchus nâ'i ffydd, na dim yn fwy dihalog nâ'i addewid.

RHAI dynion ydynt yn cael eu dibrisio o herwydd eu bod yn dlawd; a rhai dynion cyfoethog ydynt yn cael eu gorbrisio o herwydd eu bod yn berchen ar olud.

BEDYDDIAD GAN LAW-FEDDYG.—Wythnos i ddydd Sadwrn diweddaf, yn llys yr hedd-geidwaid yn Sunderland, gwrandawwyd achos yn cyffwrdd â chyfreithlonrwydd bedyddiad llëygol. Plentyn, yr hwn ni fu byw ond un awr ar ol ei enedigaeth, a daenellwyd gan y llaw-feddyg a fu yn gweini i'r fam. Penderfynodd y llys o blaid cyfreithlonrwydd y weithred.—*North Devon Journal*, Ion. 6, 1853. [Pwy na wel ffolineb gau-grefyddau ein gwlad?]

### CYNGHOR I GODI YN FOREU.

Cwyd yn y boreu, pan glywot y ceiliog
'N canu ei dônau, o dan y pren deiliog;
Ymysgwyd dy hun, bydd barod i godi,
A bydd yn ddi-flin i neidio o'th wely;
Gwna felly, cei glod, a gelwir di'n "*godwr*:"
Fel hyny mae dod i fod yn foneddwr! (1838.)

---

TALIADAU O ION. 7 HYD ION. 13.—Sir Fflint, £1 17s; Cwmnedd, 5s 2c; Georgetown, 5s 5c; Llanfabon, 2s; Merthyr, 9s 1c; Aberamman, 1s 7c; Hirwaen, 4s.—Cyfanswm, £3 4s 3c.

"T. D."—Na roddwch heibio ysgrifenu, oblegid na chyhoeddasom eich gwaith cyntaf; mae yn ofynol ymberffeithio ychydig cyn ymddangos o flaen y cyhoedd, ac nis gellir ymberffeithio ar unwaith: yn raddol mae dyfod yn ysgrifenydd.

"C. T."—Yn gymmaint ag y cyhoeddwn ein HUDGORN yn awr bob wythnos, hyderwn y cawn gyfle yn fuan i drin y pwnc.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 4.] IONAWR 22, 1853. [CYF. V.

## AIL ARAETH Y LLYWYDD B. YOUNG,

*A draddodwyd yn y Gymmanfa Gyffredinol, yn Ninas y Llyn Halen Fawr, ar y 28ain o Awst*, 1852.

[O'r "Deseret News Extra," am Fedi 14, 1852.]

YR wyf am lefaru ychydig o eiriau wrth y gynnulleidfa cyn y terfynwn, canys byddwn dan yr angheurheidrwydd o ymadael yn fuan, a dichon y cynnaliwn gyfarfod arall yn yr hwyr.

Yr wyf wedi gwrandaw ar annogaethau y brodyr a lefarasant heddyw gyda llawenydd; ymddangosant eu bod mewn ysbryd da; ac yn wir y mae mwy o newydd-deb mewn Mormoniaeth nag mewn dim ar wyneb y ddaear. Y mae yn bêr ei sain, ac y mae yn boddloni y llygad, a'r clust, a gallaf ddweyd hefyd pob synwyr a fedd dyn.

Pan yn gwrandaw ar y brodyr yn annog y rhai hyny ag ydynt yn myned ar genadiaethau, yr oeddwn am iddynt wasgu un peth ar eu meddyliau, canys y mae anghen iddo fod yn uchaf yno, yr hyn a all fod yn foddion i'w cadw rhag derbyn ystaeniadau ar eu cymmeriad, oddiwrth pa rai efallai nad allant byth gael eu gwaredu. Os bydd i ni ddifwyno ein cymmeriad gerbron yr Arglwydd, neu mewn geiriau ereill, golli tir a gwrthgilio trwy drosedd, neu mewn unrhyw ffordd arall, fel nas gallwn fod i fyny â'n brodyr megys ag yr ydym yn awr, nis gallwn ddyfod i fyny â hwynt byth drachefn; eithr y mae yn rhaid i'r egwyddor hon gael ei chario gan yr henuriaid lle bynag yr elont, pa beth

bynag a wnelont, neu pa le bynag y byddont; rhaid iddynt sylwi ar un peth, a'i gadw yn eu myfyrdodau yr holl amser, ac yn eu hymarferiad, a hyny yw, *dwylaw glan a chalonau pur*, gerbron Duw, angylion, a dynion.

Os nad all yr henuriaid fyned gyda dwylaw glân, a chalonau pur, mae yn well iddynt aros yma, ac ymolchi ychydig yn hwy; nac ewch dan feddwl wedi y cyrhaeddwch afon Missouri, y Mississippi, yr Ohio, neu y Môr Werydd, yr ymburwch eich hunain y pryd hyny, eithr cychwynwch oddiyma gyda dwylaw glân a chalonau pur; a byddwch bur o goryn eich pen hyd wadnau eich traed. Yna byddwch fyw felly bob awr; ewch yn y modd hwnw, ac yn y modd hwnw llafuriwch, a dychwelwch drachefn mor lân â dernyn o bapyr gwyn pur. Hon yw y ffordd i fyned, ac os na wnewch hyna, eich calonau a ddoluriant. Pa fodd y gellwch ei wneyd? A oes ffordd? Oes! A yw yr henuriaid yn deall y ffordd hono? Ydynt. Nis gellwch gadw dwylaw eich hunain yn lân, a'ch calonau yn bur, heb gymhorth yr Arglwydd; ac ni cheidw ef chwi yn bur heb eich cymhorth eich hunain.

A fyddwch chwi yn agored i syrthio i brofedigaeth, a chael eich dàl gan bechod? Byddwch; oddieithr eich bod yn byw fel ag i gael dadguddiadau Iesu Grist yn wastadol, nid yn unig i fyw ynddynt heddyw, neu tra ydych yn pregethu, mewn cwrdd gweddi, neu mewn cymmanfa; a phan fyddoch allan o'r cyfarfodydd hyn, lle y gwylir chwi yn fwy neillduol gan yr Ysbryd, nis gellwch ddywedyd y medrwch fyned rhagddoch heb yr Ysbryd Glân; rhaid i chwi ei gael yr holl amser, ar ddydd Sul, dydd Llun, dydd Mawrth, a phob dydd trwy yr wythnos, ac o flwyddyn i flwyddyn, o'r amser yr ewch oddi cartref hyd nes y dychwelwch, fel pan ddeuwch yn ol, nad ofnoch i'r Arglwydd Hollalluog ddyfod i blith y saint, a dadguddio holl weithredoedd a bwriadau eich calon yn eich cenadiaethau; eithr eich cael yn lân fel dernyn o bapyr gwyn: dyna'r ffordd i'r henuriaid fyw yn eu gweinidogaeth, gartref ac oddi cartref.

Y mae llawer o bethau ag a ellid eu dywedyd yn y fan yma, y rhai a ychwanegent lawer at ein dedwyddwch a'n cysur ni oll. Mae llawer o egwyddorion ag a ellid eu dysgu i'r henuriaid, ag sydd raid iddynt eu dysgu pan elont oddi cartref. Mi a nodaf un peth mewn perthynas i ddysgu. Chwi a glywch gryn lawer o'r henuriaid yn dywedyd, Pe gallaswn fyned i bregethu,

mi a allwn ddyfod yn ddyn fel llawer ereill, mi a dderbyniwn wybodaeth a dealltwriaeth, mi a fyddwn yn enwog, ac yn ddyn mawr a doeth. Mae amryw â theimladau felly; sef fod y rhai hyny ag sydd allan yn y byd yn pregethu yr efengyl, yn fwy nâ'r rhai sydd yn aros yma. Y mae yn gamsynied o'r mwyaf; canys os na fedd y rhai hyny ag sydd wedi byw gyda ni yr holl amser wybodaeth o egwyddorion gwirioneddol—os nad ydynt yn deall gwreiddyn a sylfaen y goruwch adeilad—os nad ydynt wedi eu llanw â gwybodaeth a dealltwriaeth yma, nid oes eisieu iddynt apelio at y byd cenedlig am danynt: os nad yw y sylfaen ynddynt hwy eu hunain o dalent a medrusrwydd, nid gwiw iddynt fyned oddi cartref am Ysbryd yr Arglwydd i'w dysgu mewn pethau nas gellir eu dysgu yma gartref, ac i geisio diwygio lle nas gall diwygiad gael ei wneyd.

Ni a allwn fyw yma flwyddyn ar ol blwyddyn, a thrysori gwybodaeth yr holl amser, ac etto heb gael cyfleusdra i'w hamlygu i ereill; eithr os wyf yn cael gwybodaeth trwy Ysbryd yr Arglwydd, yr wyf yn ei chael o'r ffynnonell; ac os nad yn hollol o lygad y ffynnon, pa nesaf y byddaf i'r lle hwnw, mwyaf oll a gaf; ac os nad oes genyf gyfleusdra i'w hamlygu i'r bobl, y mae ar law pa bryd bynag y daw yr amser y dylai gael ei defnyddio. Y mae yn dybiaeth ofer i feddwl y gallwn ni ddanfon yr henuriaid allan i'r byd ag nad ydynt yn feddiannol ar synwyr cyffredin da, i wneuthur dynion o honynt: os oes ganddynt synwyr da yma, bydd ganddynt draw; ac os bydd ganddynt synwyr da draw, fe fydd synwyr da ganddynt yma: pa un bynag ai yma neu draw y byddont, nid yw yn cyfnewid y sylfaen sydd ganddynt. Os oes gan yr henuriaid fedrusrwydd naturiol, ac yn meddu doethineb mawr neu ddysgeidiaeth, y mae myned oddi cartref yn rhoddi cyfleusdra iddynt i ychwanegu at yr hyn sydd ganddynt.

Yr wyf eisieu cyfeirio at yr araeth ddiweddaf a wnaed yma. Mae y brawd Phelps yn teimlo yn dra llawen, fel ag y gwna y lleill o honom. Pan glywom y newyddion da o iachawdwriaeth yn mhlith y cenedloedd, y mae yn rhoi cynhyrfiad i'n teimladau, ac yn ein llenwi â llawenydd annesgrifiadwy.

Dichon yn yr achos ger ein bron, fel mewn rhai ereill, y gallem ddweyd fod gwyr yn myned yn blant; yr ydym yn blant yn y lle cyntaf, yna yn dyfod yn wyr; ac yn yr ail le, y mae gwyr yn

dyfod yn blant yn eu dealltwriaeth. Gyda golwg ar y golygiadau uchel sydd gan y brawd Phelps am danaf fi, gadawaf hyny i'r gynnulleidfa i benderfynu drostynt eu hunain; eithr fy ngosod i yn gyfartal â'r personau a enwodd ef ag ydynt wedi gorchfygu, ac wedi myned i bresennoldeb Duw, neu hyd y nod fy nghymharu â Joseph Smith, ein prophwyd merthyredig, sydd ormod; er y dysgwyliaf, os byddaf ffyddlawn, y caf fod mor fawr ag y maent hwy yn awr, ac felly y gall pob dyn ffyddlawn arall. Eithr a ellir fy nghymharu yn awr â'r cymmeriadau dyrchafedig hyny? Na ellir, ddim hyd y nod â Joseph, ac y mae efe yn bresennol yn is nag ereill a enwodd y brawd Phelps. Eithr dysgwyliaf, os byddaf ffyddlawn gyda chwi eich hunain, y caf weled yr amser gyda chwithau y gwybyddwn pa fodd i barotoi a chorffoli daear fel hon; y gwybyddwn pa fodd i boblogi y ddaear hono, pa fodd i'w gwaredu, pa fodd i'w santeiddio, a pha fodd i'w gogoneddu gyda'r rhai a drigant arni ag a wrandawant ar ein cynghor.

Mae y Tad a'r Mab wedi cyrhaedd y pwynt hwn eisoes; yr wyf finnau ar y ffordd, ac felly yr ydych chwithau, a phob gwas ffyddlawn i Dduw.

Un o'r gofyniadau mwyaf ar feddyliau y saint, yw deall natur, egwyddor, neu sail ein bodoliaeth. Heb ddywedyd dim am yr hyn sydd wedi bod, os gellwch chwi ddilyn allan yr hyn sydd o'ch blaen, chwi a ellwch ddysgu y cyfan yn ei gylch. Mae genyf ddrychfeddwl i'w hysbysu i chwi, er nad oes amser genyf i ddweyd llawer yn ei gylch yn awr. Er hyny, mi a fynegaf ychydig wrthych ynghylch dyrchafiad dyn yn nheyrnas nefol Duw. Ni a gymmerwn Joseph yn enghraifft; bu ef yn ffyddlawn i'w alwedigaeth, cyflawnodd ei genadiaeth ar y ddaear hon, a seliodd ei dystiolaeth â'i waed; efe a gyflawnodd y gwaith a roddodd ei Dad iddo i'w wneuthur, ac yn fuan efe a ddaw i'r adgyfodiad; ei ysbryd a ddysgwylia am adgyfodiad y corff, yr hyn a fydd ar fyrder: eithr a fedd efe y gallu i adgyfodi y corff hwnw? Na fedd. Pwy fedd y gallu hwn? Y rhai hyny ag ydynt eisoes wedi myned trwy yr adgyfodiad, y rhai a adgyfodwyd yn eu hamser a'u tymmor, gan ryw berson arall, ac a apwyntiwyd i'r awdurdod hono braidd yr un modd â chwithau, henuriaid, pan dderbyniwch eich awdurdod i fedyddio.

Nid oes genych chwi awdurdod i fedyddio eich hunain; ac nid

oes awdurdod genych i adgyfodi eich hunain; ac nis gallech yn gyfreithlawn fedyddio person arall er maddeuant pechodau, heb i rywun yn gyntaf eich bedyddio chwi a'ch ordeinio i'r awdurdod hon. Felly gyda'r rhai hyny a ddaliant agoriadau yr adgyfodiad i adgyfodi y saint; daw Joseph i fyny yn ei dro, derbynia ei gorff drachefn, ac a barha ei genadiaeth yn y bydoedd tragywyddol hyd nes y caria hi allan i berffeithrwydd, gyda'r lleill o'r ffyddloniaid oll, i gael eu gwneyd yn berffaith gyda'r rhai a fuasent o'r blaen, a'r rhai a fyddant byw yn ol llaw; a phan orphener y gwaith, ac ei cyflwyner i'r Tad, yna hwy a goronir, ac a dderbyniant agoriadau a galluoedd trwy ba rai y byddant yn abl i gorffoli bydoedd. Pa beth a gorffolant gyntaf? Pe dywedwn wrthych, mi a ddystrywiwn yn ddiau yr adgyfodiad babanaidd ag oedd yr Henuriad Hyde ac ereill yn ei bregethu o hyd, cyn sicred â'r byd.

Ar ol i ddynion gael eu dyrchafiad, a'u coronau, a dyfod yn Dduwiau, sef meibion Duw, a'u gwneyd yn frenin breninoedd, ac Arglwydd arglwyddi; yna y maent yn cael y gallu o genedlu eu rhywogaeth yn yr ysbryd, a dyna yw eu gweithrediadau cyntaf o berthynas i gorffoli byd. Yna rhoddir gallu iddynt i gorffoli yr elfenau, ac yna i ddechreu corffoli tabernaclau. Pa fodd y gallant wneuthur hyny? A raid iddynt fyned i'r ddaear hono? Rhaid; bydd i Adda gael myned yno, ac nis gall ef wneuthur heb Efa: mae yn rhaid iddo ef gael Efa i ddechreu y gwaith o genedliad, a hwy a ânt i'r ardd, ac a barhant i fwyta ac yfed o ffrwythau y byd corfforol, hyd nes y byddo i'r defnydd brasach hwn gael ei wasgaru yn ddigonol trwy eu cyrff nefolaidd, er eu galluogi hwynt yn ol y cyfreithiau sefydledig i gynnyrchu tabernaclau daearol i'w plant ysbrydol.

Dyma allwedd i chwi. Y ffyddloniaid a ddeuant yn Dduwiau, ïe, meibion Duw; eithr nid yw hyn yn dadymchwelyd y drychfeddwl fod genym dad. Adda yw fy Nhad i (hyn a amlygaf ar ryw amser dyfodol); eithr ni phrawf nad efe yw fy nhad i, pe deuwn i yn Dduw; nid yw yn profi nad oes genyf fi dad.

Yr wyf fi ar y ffordd i ddyfod yn un o'r cymmeriadau hyny, ac nid wyf neb yn y byd ond Brigham Young. Ni phroffesais erioed i fod yn frawd Joseph, eithr y brawd Brigham, yn ceisio gwneyd daioni i'r bobl hyn. Nid wyf fi ddim gwell, na dim mwy fy mhwys nâ dyn arall, yr hwn sydd yn ceisio gwneyd

daioni; os ydwyf, nid wyf fi yn ei wybod. Os bydd i mi ddiwygio ar yr hyn a roddodd yr Arglwydd i mi, a pharhau i ddiwygio, mi a ddeuaf yn gyffelyb i'r rhai a aethant o'm blaen; mi a gaf fy nyrchafu yn y deyrnas nefol, a'm llanw yn orlawn â'r holl allu a fedraf ddefnyddio; a'r holl allweddau gwybodaeth a fedraf drafod, a gyflwynir i mi. Pa beth sydd arnom eisieu yn ychwaneg? Mi a gaf fod yn debyg braidd i ryw ddyn arall, cael yr oll a fedraf, yn ol fy ngallu, ei amgyffred a'i drafod.

Yr wyf fi ar fy ffordd at y dyrchafiad mawr hwn; yr wyf yn dysgwyl ei gyrhaeddyd. Yr wyf fi yn nwylaw yr Arglwydd, ac nid wyf byth yn ymdrafferthu ynghylch fy iachawdwriaeth, neu pa beth a wna yr Arglwydd â mi yn ol llaw; fy ngwaith i yw gwneuthur ewyllys yr Arglwydd heddyw; a phan ddelo y fory, yna gwneuthur ewyllys fy Nhad yn y gwaith a benododd i mi i'w wneuthur, ac y mae hyny yn ddigon i mi. Yr wyf yn gwasanaethu Duw ag a rydd i mi yr oll ag wyf yn haeddu pan ddeuaf i dderbyn fy ngwobr: dyma yw yr hyn a feddyliwn yn wastadol; ac os wyf etto yn meddwl felly, y mae yn ddigon i mi.

Dywedaf wrth y brodyr ag ydynt yn gadael gartref: pan eloch oddi cartref, gadewch bob peth sydd genych yma, na chymmerwch ddim gyda chwi ond yr Arglwydd a'ch hunain.

Bydd arnoch eisieu ceffylau i'ch dwyn dros y gwastadedd, eithr na chariwch eich gwragedd neu eich plant yn eich calonau, neu yn eich serchiadau, gyda chwi un lathen; cyflwynwch hwynt i Arglwydd Dduw Israel, a gadewch hwynt gartref; a phan fyddoch yn Lloegr, neu yn mhlith cenedloedd ereill, nid oes wahaniaeth yn mha le, pan weddioch dros eich teuluoedd, gweddiwch drostynt fel yn bod yn Nyffryn y Llyn Halen Fawr, ac na ddygwch hwynt yn agos atoch megys pe byddent yn eich *carpet bag*; gweddiwch drostynt lle y maent. Mae yn rhaid i chwi deimlo, os ydynt yn fyw, fod pob peth yn iawn; os byddant farw, fod pob peth yn iawn: os byddaf fi farw, y mae pob peth yn iawn; os byddaf fyw, y mae pob peth yn iawn, canys eiddo yr Arglwydd ydym oll, ac ni a gwrddwn yn fuan drachefn.

Dymunaf ddweyd wrthych chwi a adewir yma, y rhai y mae eich gwyr priod a'ch tadau yn myned ymaith am dymmor, nac ymlynwch wrthynt un gronyn, eithr gadewch iddynt fyned mor siriol â phe rhoddech gwpanaid o ddwfr oer i'r teithiwr blinedig. Os byddwch fyw, pob peth yn iawn, ac os syrthiwch i huno cyn

y dychwelant, pob peth yn iawn: nac anfonwch eich calonau ar eu hol un cam, ac na oddefwch i'ch ysbrydoedd lynu wrthynt un fynyd; yna chwi wragedd mewn gwirionedd a fendithir, ac a fyddwch yn amgeledd cymhwys i'ch gwyr.

Eithr os gwraig etto a lyna am wddf ei gwr, a dywedyd, O fel yr wyf yn eich caru chwi, anwyl wr, a'i gadw ef yn ei breichiau, mae y wraig hono yn bwysau trwm wrth y gwr hwnw, ac nid yn gymhorth iddo. Fe ddylai benywod fod yn ffyddlawn i achos Duw, a chynnorthwyo i adeiladu ei deyrnas trwy eu gwyr, wrth eu helpu i gyflawni eu cenadiaethau; ac os na wnant hyny, nid ydynt yn gymhorth i'w gwyr. Gwn fod cryn lawer yma ag ydynt wedi cael profiad yn y pethau hyn. Nid yw wahaniaeth eu bod ar ochr arall y ddaear, ar wahan, bydded iddynt hiraethu am eu gilydd, a bydd eddefyn o gyfathrach rhyngddynt; nis gall y dyn fod yn ddefnyddiol yn ei lafur, tra y byddo hi yr holl amser yn wylo a galaru bob dydd o'i bywyd. Gadawed dyn ei feddwl i gael ei dynu yr holl amser, ar ol ei deulu, ac efe a â yn ddiog yn ngwaith yr Arglwydd.

Pan fyddoch yn ymadael, deallwch nad oes genych na gwraig na phlant; yr ydych wedi eu cyflwyno drosodd i'r Arglwydd Iesu Grist. Aed y brodyr gan ddywedyd, Mi a gadwaf fy llygaid yn gywir o'm blaen ar wrthddrych fy nghenadiaeth, ac nid edrychaf yn ol ar fy nheulu, eithr mi a gyflawnaf fy nghenadiaeth; a phan y gorphenwyf, y mae pob peth yn iawn, yr wyf yn foddlawn i fyned gartref, os yr Arglwydd a ddymuna i mi wneuthur hyny.

Mae yr amser wedi rhedeg yn mhell, ac y mae yn angenrheidiol i'n cyfarfod gael ei derfynu. Yr Arglwydd a'ch bendithio chwi; a dywedaf y mae yn ein bendithio; yr ydym wedi ein bendithio yn fawr uwchlaw yr holl bobl ar wyneb y ddaear hon. Byddwn ffyddlawn i Dduw ac i'r cyfammod a wnaethom. Amen. [Terfynwyd ganddo ef trwy weddi.]

---

## TRYDEDD ARAETH Y LLYWYDD B. YOUNG,

*A draddodwyd yn y Gymmanfa Gyffredinol, yn Ninas y Llyn Halen Fawr, ar y 29ain o Awst,* 1852.

Tra fyddo y sacrament yn myned oddiamgylch, mi a gymmeraf y rhyddid o wneuthur ychydig o sylwadau.

Mae rhywfaint o wirionedd wedi ei draethu, o'r esgynlawr, o

berthynas i'r gynnulleidfa. Mae fy mrodyr a'm chwiorydd hyn yn yr arferiad o fod yma un rhan o'r Sabboth, i wrandaw a deall drostynt eu hunain. Byddai yn dda genyf fi i weled y tŷ hwn mor llawn bob Sabboth, yn y rhan olaf o'r dydd, ag ydyw y prydnawn hwn. Mae yr Arglwydd yn ei ofyn, ac y mae yn rhesymol a boddlongar i'r holl rai hyny ag ydynt yn ddiwyd yn gwneuthur ei ewyllys. Y mae genym dŷ cysurus i gyfarfod ynddo, lle y gallwn bregethu, canu, gweddio, annog, ac ymarfer ein hunain yn ein gwahanol gymhwysderau, yn ol ein galwedigaeth, yn addoliad Duw.

Mae hyn yn fendith fawr; os gallwn ni ei mwynhau, y mae yn un o'r bendithion mwyaf a allwn gael—sef amlygu i'n Tad yn y nefoedd, a thystio wrtho ein bod yn wastad yn cofio marwolaeth a dyoddefiadau ei Fab Iesu Grist, yr hwn a anfonodd i'r byd i waredu y byd, i dywallt ei waed ei hun dros ein pechodau. Pe gallem ei mwynhau, y mae yn un o'r bendithion mwyaf a allem gael—sef dyfod gerbron yr Arglwydd, a cherbron yr angylion, a cherbron ein gilydd, i arddangos ein bod yn cofio i'r Arglwydd Iesu Grist farw drosom. Mae hyn yn profi i'r Tad ein bod yn cofio ein cyfammodau, ein bod yn caru ei Efengyl, ein bod yn hoffi cadw ei orchymynion, ac anrhydeddu enw yr Arglwydd Iesu Grist ar y ddaear. Bydded i ni dreio gwneuthur hyn; y mae yn fendith, braint, a dyledswydd y dylem edrych ati bob amser.

Yn lle goddef i'n gwaith feddiannu y Sabboth—yn lle trefnu ein gorchwylion i droseddu ar y dydd cyntaf o'r wythnos, ni a ddylem wneuthur cyn lleied ag sydd yn bosibl; os yw yn anghenrheidiol i drin bwyd, gwnewch felly; eithr pe gellid bod heb hyny, byddai yn well. Gyda golwg ar gadw y Sabboth yn ol y gyfraith Foesenaidd, yn wir nid wyf fi yn ei wneyd; canys byddai braidd tu hwnt fy ngallu: etto, dan y cyfammod newydd, ni a ddylem gadw yn santaidd un dydd o'r wythnos, fel dydd o orphwysiad, fel coffadwriaeth o orphwysiad yr Arglwydd, a gorphwysiad y saint, ac hefyd er ein lles tymmorol—canys y mae wedi ei sefydlu i'r unig ddyben o lesoli dyn. Mae wedi ei ysgrifenu yn y llyfr hwn (y Beibl), fod y Sabboth wedi ei wneyd er mwyn dyn, ac nid dyn er mwyn y Sabboth; bendith yw iddo ef. Dylai mor lleied o waith ag a fyddo yn bosibl gael ei wneyd ar y dydd hwnw; dylai gael ei neillduo fel dydd o or-

phwysiad, er ymgynnull ynghyd yn y lle apwyntiedig, yn ol y dadguddiad, gan gyffesu ein pechodau, dwyn ein degymau a'n hoffrymau, a chyflwyno ein hunain gerbron yr Arglwydd, yno i gofio am farwolaeth a dyoddefiadau yr Arglwydd Iesu Grist.

Y rhai hyn ydynt sefydliadau pwrpasol er lles dyn; nid wedi eu gosod arno megys gan dasg-feistr, mewn ffordd o ddyscyblaeth lem, eithr hwy a gyfrenir iddo megys bendith, ffafr, a thrugaredd, er ei wir les. Gobeithiaf etto weled y dydd, pan fyddwn yn y fath sefyllfa, ac wedi cyrhaedd y wybodaeth a'r ddealltwriaeth hono, ag y bydd i bob dyn a dynes gadw a gwneuthur eu dyledswydd yn hollol—gwneuthur yr hyn a ofynir ganddynt, heb wneuthur dim drygioni; pan fydd yr oll yn heddwch a llawenydd, ac y byddo y ddaear wedi ei goleuo ag ysbryd dealltwriaeth; yr ydych chwithau yn credu ac yn gobeithio am yr un pethau—ac os byddwn ffyddlawn, mae yr amser hwnw gerllaw.

Mae yn wir fod y rhan fwyaf o'r athrawiaeth a gredwn ni yn dyfod mewn cyffyrddiad â holl ragfarnau a theimladau rhagfeddianniedig y byd Cristionogol; yn y rhan ymarferol o'n crefydd nid ydym yn gwhaniaethu oddiwrthynt mewn llawer o bethau. Maent hwy yn gweddio, ac felly y gwnawn ninnau; maent hwy yn cadw y Sabboth yn weddol dda, ac felly yr ydym ninnau; maent hwy yn dweyd eu bod yn credu yn yr Arglwydd Iesu Grist, felly ninnau, ac yn cadw ei orchymynion; ac y maent hwy yn galw ar yr Arglwydd, efallai, yr un mor ffyddlawn. Yn rhai o ddyledswyddau eglur ac ymarferol yr efengyl, mae y byd crefyddol yn dra diwyd; eithr yn y rhanau athrawiaethol o efengyl yr iachawdwriaeth, y maent yn gwbl ddyeithriaid.

Yn nechreuad gyrfa y brawd Joseph Smith, yr oedd ganddo holl ddylanwad a thalent y byd sectaraidd, ag oedd yn adnabyddus o'i weithredoedd, i ymdrechu â hwynt; yr oeddynt hwy ganddo i'w hymladd ddydd a nos. Efe a lafuriodd yn ffyddlawn, er yn ei ieuenctyd, a braidd yn llwyr amddifad o wybodaeth lenyddol, ac heb lawer o fanteision o natur ddaearol; etto y gwirionedd a ddadguddiodd efe, a fuddugoliaethodd; yr egwyddorion a roddodd allan a gyfyngasant ar wybodaeth grefyddol yr holl fyd Cristionogol. Pob egwyddor braidd, a phob drychfeddwl a ddysgir yn yr efengyl, am ba rai y pregethwyd ac yr ysgrifenwyd gymmaint gan y byd, a brofodd efe eu bod hwy yn anwy-

bodus o honynt. Efe a ddysgodd y bobl pa fodd i gael ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist. Dysgodd hwynt hefyd pa fodd i edifarhau. Yr oedd hyn yn newydd i'r byd—cael eu hysbysu nad oeddynt yn gwybod pa fodd i edifarhau. Dysgodd iddynt pa fodd i gofleidio efengyl yr iachawdwriaeth; pa beth ydoedd; a bod yr egwyddorion hyn yn anhebgorol angheurheidiol er iachawdwriaeth plant dynion.

Nid oedd un dyn, yn flaenorol i hyn, i ddyfod yn mlaen a dywedyd ei fod yn anhebgorol angheurheidiol i barchu yr athrawiaethau hyn er mwyn bod yn gadwedig, a phrofi yr athrawiaeth hono allan o'r Beibl. Nis gallai neb brofi yr athrawiaeth, fel ag i osod ei gwirionedd tu hwnt i ammheuaeth a dadl, ei bod yn angheurheidiol i ddyn gredu yn yr Arglwydd Iesu Grist.

Mae yn eithaf hysbys i'r gynnulleidfa hon, i'r holl fyd Cristionogol gael ei ddyrysu, ac nid yn unig ei ddyrysu, ond ei gywilyddio, ar wir athroniaeth, a'u geneuau a gauwyd mewn dystawrwydd, gan yr anffyddiwr, a elwid felly. Mae yn eithaf hysbys i'r gynnulleidfa hon, y gwnai y rhai hyny na chredent yn y Beibl, y rhai ni chredent yn yr Arglwydd Iesu Grist, trwy ymresymiad da, orchfygu a buddugoliaethu ar yr holl fyd Cristionogol, eu dirmygu, a gwneyd gwawd o honynt.

Mae y peth yn wahanol yn awr. A ydynt hwy yn gorchfygu henuriaid yr eglwys hon? Nac ydynt; eithr y maent fel y gwellt sych ar y *praire* o flaen y fflam ysol. Mae un o henuriaid Israel yn eu gorchfygu ar dir eu hathroniaeth eu hunain, ac yn eu boddi yn môr eu rhesymau eu hunain. A allai y byd Cristionogol ei wneuthur? Na allent. Dywedodd y brawd Joseph wrth y bobl fod yn angheurheidiol bedyddio er maddeuant pechodau, a phrofodd hyny o'r Beibl; profodd hyny trwy ei weithredoedd; profodd hyny trwy filoedd o dystion yn ei ddydd.

Efe a ddygodd hefyd i sylw yr athrawiaeth o osodiad dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glân, ac a'i profodd o'r Beibl, trwy resymeg, a thrwy ei brofiad ei hun a miloedd ereill. Chwi, henuriaid Israel, a ydych yn gwybod pa un a ddygasoch chwi ac ereill yr athrawiaethau hyn yn mlaen yn fuddugoliaethus? Y maent wedi bod yn llwyddiannus yn mhlith pob pobl, cenedl, llwyth, ac iaith, lle bynag y maent wedi eu cyhoeddi. Mae yr athrawiaethau hyn uwchlaw gallu dadleuaeth ac ammheuaeth; nis gall un cecryn eu gwrthbrofi, na chynnyg y rheswm lleiaf ag a brofai yn llwyddiannus i ddadymchwelyd yr egwyddorion a ddysgwyd gan henuriaid Israel.

Dygodd y brawd Joseph i sylw lawer iawn o egwyddorion newyddion. Yr oeddynt yn gwbl newydd i'r genedlaeth hon, eithr mewn gwirionedd yn hen athrawiaethau; megys bedyddio er maddeuant pechodau; fod hyny yn anhebgorol angheurheidiol; ac yna cael gosodiad dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glân, a llawer o athrawiaethau ereill. Er eu bod mewn gwirionedd yn hen, etto y maent yn newydd i'r genedlaeth dywell hon.

Pan ddechreuodd yr henuriaid gyntaf i bregethu Mormoniaeth,

er ys ugain mlynedd yn ol, hwy a gymmerent y Beibl ac a brofent bob rhan o athrawiaeth i'r bobl, uwchlaw pob ammheuaeth a dadl. Pa beth a ddywedai yr offeiriaid a'r pregethwyr wrthych? A allwch chwi gofio pa beth a ddywedent yn y gwahanol Daleithiau, lle y pregethwyd yr efengyl hon gyntaf? Gallwch; hwy a floeddient o'r pwlpud, "Joe Smith! yr hen Joe Smith!!" Dyna oedd eu hymresymiad, i ddechreu. "Twyllwr! twyllwr!! —y mae yn hudo y bobl; y mae yn hudo y bobl! Yr hen Joe Smith, yr arian-gloddiwr! y mae efe yn *necromancer*!! y mae yn *fortune-teller*!!! arian-gloddiwr!!!! yr hen Joe Smith!!!!!" Y fath reswm godidog! Nid oes modd ei ateb. Chwi a wyddoch mai dyma y *rhesymau* a ddefnyddir yn erbyn yr athrawiaethau a bregethir gan henuriaid yr eglwys hon.

Pan ddygasoch Lyfr Mormon i sylw, y rhesymeg a ddefnyddid yn ei erbyn oedd, "Twyll yw! Joe Smith!! twyllwr!!!" a dyma'r rhesymau a gynnygid o'r dechreu i'r diwedd; eithr ni allent ddwyn un ymadrodd o'r ysgrythyr, nac un rheswm sylweddol yn erbyn yr athrawiaeth a ddysgid ac a gredid gan yr eglwys hon.

Pa beth a ddywedwyd wrthych chwi? Pa beth a ddywedwyd wrthyf finnau? Os pregethwn yr athrawiaeth hon, y bobl, braidd yn gyffredinol, a'n dilynant, gan ddywedyd, "Na soniwch am Joseph Smith; na soniwch byth am Lyfr Mormon, neu Seion, a'r bobl a'ch dilynant oll." Minnau a ddywedwn wrthynt na wnai ddim lles iddynt, pe gwrandawem ar eu ceisiadau; yr hyn a dderbyniais i oddiwrth yr Arglwydd, a dderbyniais trwy Joseph Smith; efe oedd yr offeryn a ddefnyddid: os gadawaf ef, rhaid i mi adael yr egwyddorion hyn; ni chawsant eu dadguddio, eu traethu, na'u hegluro gan neb arall er dyddiau yr Apostolion! Os rhoddaf i lawr Lyfr Mormon, bydd genyf i wadu fod Joseph yn brophwyd; ac os rhoddaf i lawr yr athrawiaeth, a pheidio pregethu ymgasgliad Israel, ac adeiladiad Seion, rhaid i mi roddi i lawr y Beibl; ac o ganlyniad, buasai gystal i mi fyned gartef, â chymmeryd arnaf i bregethu heb y tri pheth hyn.

Ai nid oedd eich calonau chwi, hen henuriaid Israel, yn arfer dychrynu yn enbyd, pan yr oedd genych i bregethu mewn lleoedd newyddion? Chwi a gymmerech y Beibl, ac a ddyfynech ysgrythyr o Genesis hyd y Dadguddiad, fel ag i synu y bobl, ac ni soniech am Joseph Smith.—Ai nid oedd yn peri i chwi grynu pan oedd genych i ddywedyd fod Joseph Smith yn Brophwyd— pan ddeuech at y pwynt hwnw, ac yn gorfod naill ai ei wadu, neu ei arddel gerbron y bobl?

Mae rhai wedi eu cynnysgaethu â mwy o wroldeb moesol nag ereill. Mi a wn fod yr ysbrydoedd mewn dynion yn gyffredin yn dueddol i wendid a gwangalondid; ac y mae pawb, i raddau mwy neu lai, yn teimlo eu gwendid a'u hanallu eu hunain. Mae henuriaid Israel, yn neillduol, yn teimlo rhagfarn y bobl yn gwasgu ar eu hysbrydoedd; eithr unwaith yr agoront eu geneuau, a dywedyd fod Joseph yn brophwyd, y mae y fath lifeiriant o

oleuni ar unwaith yn dyfod arnynt, nes y maent yn barod i beidio gofyn cenad i'r byd. Eithr wrth barotoi i draethu hyn, mae eu calonau yn crynu, a'u cliniau yn ymguro braidd fel eiddo Beltesassar; wedi y dechreuont unwaith, maent yn ddigon annibynol.

Tybiwyf fod rhai o honoch chwi wedi cael profiad ar y pen hwn. Un o'n henuriaid â pha un yr wyf yn adnabyddus, ar ol iddo gael ei fedyddio, a gafodd ei osod mewn cornel, a gorfu arno bregethu pregeth. Ni fu erioed yn abl dweyd y gwyddai fod Joseph yn brophwyd; ond yno yr oedd yn y cyfarfod; yr oedd y tŷ wedi ei orlenwi gan y gynnulleidfa, a'r ffenestri a'r drysau yn llawn o bobl, ac oll oddiamgylch o flaen y tŷ, yn dysgwyl clywed pregethwr Mormonaidd. Nid oedd neb yno ond yr un dyn hwn, a galwyd arno i bregethu; efe a feddyliodd y gwnai weddio, a therfynu y cyfarfod; nis gwyddai erioed fod Joseph Smith yn brophwyd; dyna y llew ag oedd yn ei lwybr, ac nis gallai efe fyned ato, nac oddiamgylch iddo, na chloddio o dano, na neidio drosto; ac yr oedd yn rhaid iddo gyfarfod â'r llew; yr oedd yn rhaid iddo ddweyd Joseph, er gwell neu waeth. Mor fuan ag y cafodd "Joseph" allan, "sydd brophwyd" oedd y nesaf—ac oddiar hyny ei dafod a ryddhawyd, ac efe a barhaodd lefaru hyd yn agos machludiad haul. Mae yr Arglwydd yn tywallt ei Ysbryd ar ddyn, pan fyddo yn tystiolaethu yr hyn a fyddo yr Arglwydd yn roddi iddo i'w dystiolaethu. Er y dydd hwnw hyd heddyw, ni fu efe erioed yn methu gwybod fod Joseph yn brophwyd. Sicrhaf wrthych fod ei galon yn crynu—a dyna fel y mae wedi bod gyda llawer iawn o rai ereill.

Pan ddadguddiodd y brawd Joseph y dirgelwch mawr o fedyddio dros y meirw, ai ni feddyliodd llawer iawn o henuriaid Israel y pryd hwnw, "nas gallai Mormoniaeth barhau; hi a orchfygir." Yr oedd pob rhan o athrawiaeth a ddygodd y brawd Joseph allan, yn cael gwrthwynebiad oddiwrth y byd. Gwyddom oll ei bod yn dyfod yn erbyn dylanwad sectaraidd, a phob dylanwad arall nad yw yn uniongyrchol oddiwrth Dduw.

Pan aeth yr henuriaid allan, meddyliai y pregethwyr y gallant hwy eu dystewi yn rhwydd; eithr pan aethant i gadarnhau yr athrawiaeth o fedyddio dros y meirw, a lwyddodd y pregethwyr i wrthbrofi eu rhesymau? Naddo! Marchogodd yr athrawiaeth yn fuddugoliaethus dros holl sectariaeth (yr hyn a feddyliwyf wrth sectariaeth yw gau-grefydd); ac y mae cyn belled o gael ei dystewi gan yr holl weddill o'r byd, fel y mae mor boblogaidd, pa le bynag yr eloch, ag unrhyw athrawiaeth a ddysgir; credir hi yr un mor barod a chyflym.

Chwi a ellwch ddeall, oddiwrth yr ychydig sylwadau wyf yn wneuthur o berthynas i'r efengyl, fod llawer o bethau a ddadguddiwyd trwy Joseph, yn taraw yn erbyn ein rhagfarnau ein hunain; nis gwyddem pa fodd i'w deall hwynt. Yr wyf yn cyfeirio at fy hunan fel enghraifft; nis gellais i erioed gael fy mherswadio y danfonai Duw bob un i lyn o dân a brwmstan, i'w

boeni gan y diafol, am bob tragywyddoldeb, am bob rhyw bechod bach a gyflawnai—yr hon oedd yr athrawiaeth a drosglwyddwyd i waered. Ar ol y cyfan, yr oedd fy nhraddodiadau yn gyfryw, fel pan ddaeth y Weledigaeth ataf gyntaf, yr oedd mor gwbl groes a gwrthwynebol i'm dysgeidiaeth flaenorol, nes y dywedais, Arosweh dipyn; nis gwrthwynebais hi, eithr nis gallwn ei deall. Gallaswn deimlo y pryd hwnw pa faint a wnaeth traddodiad anghywir i mi. Meddyliwch pe byddai yr oll ag a glywais erioed gan fy mhregethwr a'm rhieni—y ffordd a ddysgasant fi i ddarllen y Beibl, yn wirioneddol,—byddai fy nealltwriaeth yn gwbl groes i'r athrawiaeth a ddadguddiwyd yn y Weledigaeth. Mi a arferwn feddwl a gweddio, darllen a meddwl, hyd nes y gwyddwn ac y llwyr ddeallwn hi droswyf fy hun, trwy weledigaethau yr Ysbryd Glân. Ar y cyntaf, yr oedd yn dyfod mewn cyffyrddiad â'm teimladau fy hun, er nas gallwn erioed gredu fel lliaws y byd Cristionogol o'm hamgylch; eithr nis gwyddwn pa mor agos y credwn fel hwynt-hwy. Mi a gefais allan, pa fodd bynag, fy mod mor agos, fel y gallaswn siglo dwylaw â hwy pryd bynag yr ewyllysiwn.

Clywsoch y brawd Pratt yn hysbysu boreu heddyw, y cai Dadguddiad ei ddarllen y prydnawn hwn, pa un a roddwyd cyn marwolaeth Joseph. Cynnwysa athrawiaeth, ag y mae cyfran fychan o'r byd yn wrthwynebol iddi; eithr mi a allaf brophwydo yn ei chylch. Er nad yw yr athrawiaeth hono wedi ei phregethu gan yr henuriaid, mae y bobl hyn yn credu ynddi er ys blynyddau.

Cafodd copi gwreiddiol y Dadguddiad hwn ei losgi; William Clayton oedd y dyn a'i hysgrifenodd o enau y prophwyd. Yn y cyfamser yr oedd yn meddiant yr Esgob Whitney. Dymunodd ef y fraint o'i gopïo, yr hyn a ganiatäodd y brawd Joseph. Llosgodd y chwaer Emma y gwreiddiol. Yr achos fy mod yn crybwyll hyn, yw, oblegid fod y bobl na wyddent am y Dadguddiad, yn meddwl nad oedd yn awr mewn bodoliaeth.

Darllenir y Dadguddiad i chwi. Yr ydym ni yn credu yn yr egwyddor y llefarwyd arni boreu heddyw gan y brawd Pratt. Ac yr wyf yn dywedyd wrthych, oblegid mi a'i gwn—hi a hwylia dros, ac a farchoga yn fuddugoliaethus uwchlaw holl ragfarn a chrefydd-dwyll yr oes; hi a feithrinir, a chredir ynddi gan ddosparthiadau mwyaf deallgar y byd, fel un o'r athrawiaethau goreu a gyhoeddwyd erioed i unrhyw bobl.—Nid oes achos i'ch calonau guro; nid oes anghen i chwi feddwl fod terfysglu yn dyfod yma i sathru y rhyddid cyssegredig ag y mae Ffurf-lywodraeth ein gwlad yn sicrhau i ni, oblegid ni fydd hyny. Yr oedd y byd yn gwybod, er ys amser hir, îe, yn nyddiau y brawd Joseph, fod ganddo ef fwy o wragedd nag un. Yr oedd un o'r seneddwyr yn y Congress yn ei wybod o'r goreu. A wnaeth efe ei wrthwynebu? Naddo!—eithr bu yn gyfaill i ni trwy gydol y dydd, yn neillduol ar y pwnc hwnw. Efe a ddywedodd yn bendant wrth ei gyfeillion, "Os na fabwysiada yr Unol Daleithiau y drefn hono—bydded iddynt barhau fel ag y maent yn awr—

dilyn yr un llwybr yn gymhwys ag a ddilynant yn bresennol, ac fe ddaw i hyn—na wna eu cenedlaethau fyw hyd nes y byddont yn 30 mlwydd oed; maent yn myned i ddystryw: mae afiechyd yn ymdaenu mor gyflym yn mhlith trigolion yr Unol Daleithiau, nes y maent yn cael eu geni yn budredig ag ef, ac mewn ychydig flynyddau y maent yn diflanu." "Y mae Joseph," meddai efe, "wedi dwyn i sylw y cynllun goreu er adferu a sefydlu cryfdwr, a bywyd hir yn mhlith dynion, o bod dyn ar y ddaear; ac y mae'r Mormoniaid yn bobl dda a rhinweddol iawn."

Mae llawer ereill o'r un feddwl; nid ydynt yn anwybodus o'r hyn a wnawn ni yn ein sefyllfa gymdeithasgar. Buont yn gwaeddi am ei chyhoeddi allan; ond ni wnai hyny y tro, ychydig flynyddoedd yn ol; rhaid i bob peth ddyfod yn ei amser, gan fod amser i bob peth. Yr wyf fi yn awr yn barod i'w chyhoeddi.

Bu y Dadguddiad hwn yn fy meddiant amryw flynyddoedd; a phwy a wybu hyny? Neb ond y rhai a ddylai wybod hyny. Yr wyf yn cadw clo diogel ar fy nghist, ac nid oes dim yn myned allan na ddylai.

Mae yn fy moddloni ychydig i feddwl mor awyddus y mae'r bobl hyn am ddadguddiadau newyddion. Yr wyf yn ewyllysio gofyn cwestiwn: A ŵyr y bobl hyn pa un a dderbyniasant unrhyw ddadguddiadau oddiar farwolaeth Joseph Smith, fel pobl? Gallaf ddweyd eich bod yn eu derbyn yn barhaus. Mi a garwn i henuriaid Israel ddeall un egwyddor; ac yr wyf wedi dysgu hono yn fynych; ac y mae yn cael ei dysgu hefyd yn yr ysgrythyrau hen a newydd; neu mewn geiriau ereill yn yr ysgrythyrau gynt ac yn y rhai diweddar. Yr egwyddor a osodir allan yn syml, yr hon yw hyn; pan elwir dyn, fel y gwnaed â Joseph, i fod yn brophwyd, y mae efe yn ysgrifenu ei ddadguddiadau. Fe ysgrifenodd Joseph lawer iawn. Er enghraifft, efe a roddai ddadguddiad i ddyn fyned i Sanpete i weithio; efe a roddai ddadguddiadau yn cyffwrdd â phethau tymmorol ac ysbrydol; mewn adeiladiad tai a dinasoedd, neu yn mhregethiad yr efengyl i'r byd—pa rai ydynt oll yn anghenrheidiol er iachawdwriaeth a dyrchafiad pobl yr Arglwydd.

Yn awr, frodyr, galwedigaeth Apostol yw adeiladu teyrnas Dduw, yn yr holl fyd; yr Apostol sydd yn dal allweddau yr awdurdod hon, ac nid neb arall. Os bydd Apostol yn mawrhau ei swydd, efe yw gair yr Arglwydd i'r bobl hyn yr holl amser, neu ynte nid yw yn mawrhau ei swydd—y naill neu y llall.

Os bydd efe yn mawrhau ei swydd, mae ei eiriau yn eiriau bywyd tragywyddol i'r rhai a wrandawant arnynt, yn gymmaint felly ag unrhyw ddadguddiadau ysgrifenedig yn y tri llyfr hyn. (Y Beibl, Llyfr Mormon, ac Athrawiaeth a Chyfammodau). Nid oes dim a gynnwysir yn y tri llyfr hyn, ag sydd yn fwy o ddadguddiad, nâ geiriau Apostol a fo yn mawrhau ei swydd.

Yr wyf eisieu i chwi ddeall hyny. Pe buasai yn anghenrheidiol i'w hysgrifenu, ni a ysgrifenem yr holl amser. Pa fodd bynag,

ni a ddewisem yn hytrach i'r bobl fyw fel ag i gael dadguddiadau iddynt eu hunain, ac yna i ni wneyd y gwaith y gelwir ni i'w wneuthur; mae hyny yn ddigon i ni. A all rhai o honoch feddwl am unrhyw ddadguddiadau a dderbyniasoch, ag nad ydynt ysgrifenedig? Gellwch.

Mi a draddodais bregeth fer yma ddoe, o berthynas i ddyrchafiad; ni lefarais ond ychydig fynydau, a chymmerodd y brawd Pratt yr un pwnc i fyny; mae yr oll yn dal cyssylltiad â phregeth fawr yr efengyl; canys ni allwn sylwi ond ar ranau o honi, pan y cymmerwn arnom lefaru wrth y bobl.

Mae y cyfan yn dal cyssylltiad â dyrchafiad dyn, gan ddangos pa fodd y mae yn cael ei ddyrchafu i fod yn frenin ac offeiriad, ie, ac yn Dduw, megys ei Dad yn y nefoedd. Heb yr athrawiaeth a eglura y Dadguddiad hwn, nis gallai un dyn ar y ddaear byth gael ei ddyrchafu i fod yn Dduw. A ydych chwi yn cael allan yn awr, pan y cewch eich dyrchafu, pa beth fydd eich gwaith draw acw? Yr ydym yn darllen yn yr ysgrythyrau i'r Iesu ddweyd mai efe oedd y cyntaf a'r diweddaf. Mae wedi ei ysgrifenu drachefn yn y llyfr hwn, gan y Prophwyd Joseph, mai efe yw y cyntaf a'r diweddaf; y diweddaf a'r cyntaf. Chwi a welwch yr egwyddor hon yn holl weithredoedd yr Arglwydd. Pan fyddo dyn yn dechreu ar waith ei ddyrchafiad, y mae yn dechreu gyda y peth diweddaf a gwblheir. Ein hysbrydoedd, filoedd o flynyddoedd yn ol, a genedlwyd yn gyntaf; ac ar ddiben terfynedig pob peth, pan fydd yr Iachawdwr wedi gorphen ei waith, a'i gyflwyno i'w Dad, efe a goronir.

Ni dderbynia neb o honoch chwi eich coronau o ogoniant, anfarwoldeb, a bywydau tragywyddol, cyn y derbynia ef ei eiddo ef; efe a goronir yn gyntaf, ac yna coronir ninnau, pob un yn ei drefn, cynys y mae'r gwaith wedi ei orphen, ac y mae'r ysbryd yn gyflawn yn ei gydgorffoliad â'r tabernacl. Y byd yw y peth cyntaf i'w waredu, a'r bobl yn ddiweddaf i gael eu coroni arno. Mi a adawaf y sylwadau hyn gyda chwi, ac yn awr ni a fynwn y Dadguddiad.

[Yna yr Henuriad Thomas Bullock a ddarllenodd y Dadguddiad a gyhoeddasom yn y rhifyn cyntaf o'r Udgorn am y flwyddyn hon, a therfynwyd y gymmanfa.]

---

## CWMPEINI Y DRYSORFA YMFUDOL BARHAUS.

### AT FUGEILIAID A LLYWYDDION CYNNADLEDDAU.

Yn unol ag ysbryd enaid-gynhyrfiol y llef o Seion, "Deuwch adref, deuwch adref," ac mewn ystyriaeth o sefyllfa llawer o'r Saint yn y wlad hon, dymunwn sefydlu pob moddion cyfreithlawn er hwylysu yr ymgasgliad.

Er fod £10 y pen yn swm isel er ymfudiad personau o Liverpool i Ddyffryn y Llyn Halen Fawr, nid oes ond ychydig a

allant godi y swm hono mewn cymhariaeth i'r rhifedi dirfawr o Saint sydd â'u calonau yn cyflym guro gyda dysgwyliad o gael rhywbryd eu gwaredu o'r wlad hon. Yr ydym ni, gan hyny, yn cynnyg i'r holl bersonau hyny ag a feddant lai nâ £10, ac heb fod dan £5, fod iddynt eu gosod yn ein dwylaw ni, yr hyn a'n galluogai i ddanfon ymaith hanner eu rhifedi y tymmor ymfudol presennol; a nyni a ymrwymwn i fynu gweled yr arian a roddwyd gan y rhai hyny nad ymfudant y tymmor hwn yn cael eu dychwelyd, fel ag i fod yn wasanaethgar er eu hymfudiad hwy mewn dwy flynedd ar ol hyny.

Teimlwn yn argyhoeddedig y cyfarfydda y trefniad hwn â derbyniad groesawgar, ac y cynnorthwyir ef trwy weddiau ac ymdrechion goreu yr holl rai a ddymunant weled Israel wedi ymgasglu: ac yr ydych chwi trwy hynyma yn cael eich awdurdodi i dderbyn, oddiwrth bob personau a gymmeradwyant y dull hwn o'u gwaredu, y swm rag-grybwylledig, a'i danfon i ni, gydag enw a chyfeiriad y cyfranwyr, cyn y laf o Chwefror. Ar yr un amser byddwch gystal â danfon enwau, oedran, a galwedigaethau y rhan hono o'r cyfranwyr a ddewiswch i ymfudo y tymmor hwn, ac yn union pan dderbyniwn hwynt nyni a'ch hysbyswn yn nghylch pa amser yr hwyliant.

Wrth wneuthur eich dewisiad o bersonau i gael eu danfon allan trwy y gweithrediad cyntaf o'r trefniad hyn, dylai sylw neillduol gael ei dalu at ddanfon allan y cyfryw ag a fyddai yn debyg, o ran eu sefyllfa a'u galluoedd, i ad-dalu cyflawn gost eu hymfudiad gyntaf, fel na fyddo i'r rhai a adewir ar ol i'w helpu gan yr ail weithrediad, gael eu cadw yn hwy nâ'r amser a nodir uchod.

S. W. Richards, *Gorchwyliwr.*
Daniel Spencer, }
Willard Snow, } *Aelodau.*

15, *Wilton St., Liverpool, Ion.* 15, 1853.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Mae enwogrwydd cyffredin yn fynych yn gelwyddwr cyffredin.

Cyfleusdra sydd yn gwneyd lleidr.

---

Taliadau o Ion. 14 hyd Ion. 20.—Pontytypridd, 11s 2c; Aberamman, 10s; Hirwaen, 4s 6½c; Georgetown, 5s 3c; Cefn, 6s; Troedyrhiw, 1s 7c.—Cyfanswm, £1 18s 6½c.

☞ Hwylia yr Ymfudwyr Cymreig o Liverpool Chwefror 3.

☞ Mae y Llyfr Hymnau ar werth i bawb o hyn allan.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 5.] IONAWR 29, 1853. [CYF. V.

### PREGETH,

*A draddodwyd gan y Llywydd B. Young, yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Fawr, Awst* 8, 1852.

[O'r "Deseret News Extra," am Fedi 14, 1852.]

MI a ddarllenaf ddadguddiad a roddwyd i Joseph Smith, ieu., a Sidney Rigdon. Eithr cyn gwneuthur hyny, a dechreu ar y pwnc a ddysgwyliaf osod gerbron y bobl y boreu hwn, dywedaf wrthynt, mai fy nealltwriaeth i o berthynas i bregethu efengyl yr iachawdwriaeth yw hyn,—nad oes ond un bregeth i gael ei phregethu i holl blant Adda, ac y dylai y bregeth hono gael ei chredu ganddynt, a byw i fyny iddi.—Y mae dechreu, parhau, a therfynu pregeth efengyl, yn gofyn yr holl amser a benodir i ddyn, i'r ddaear, ac i bob peth arni, yn eu sefyllfa farwol; dyna yw fy nrychfeddwl i o barthed i bregethu. Nid oes un dyn yn alluog i osod gerbron cynnulleidfa holl bynciau yr efengyl, yn y bywyd hwn, a pharhau y pynciau hyn i'w terfyniad, canys y mae'r bywyd marwol hwn yn rhy fyr. Y mae hi yn gyssylltiedig anwahanol, y naill rau a'r llall, yn yr holl athrawiaethau a ddadguddiwyd i ddyn, y rhai a elwir yn awr athrawiaethau amrywiol Cristionogaeth, o ba rai y mae holl broffeswyr crefydd yn credu cyfran, eithr yn gwrthod, neu yn chwennych gwrthod, rhanau ereill o'r gwirionedd;—pob sect neu berson yn cymmeryd iddynt eu hunain ranau o'r Beibl, rhanau o athrawiaeth yr iachawdwr-

iaeth, ag sydd yn fwyaf hoff ganddynt, gan wrthod y lleill i gyd, a chymmysgu yr athrawiaethau hyn â daliadau dynion.

Eithr bydded i bregeth efengyl gael ei phregethu, yn yr hon y cynnwysir holl egwyddorion iachawdwriaeth, ac ni a gyfaddefwn, ar ddiwedd marwoldeb y ddaear hon, a'r holl bethau a grewyd arni—ar yr olygfa derfynol, ar ddiben terfynedig pob peth a fu oddiar ddechreu creadigaeth y byd, a'i boblogiad, hyd at genedlaeth olaf Adda ac Efa, a'r gorpheniad terfynol o waith Crist;—ie, meddaf, ni a gyfaddefwn mai yna y mae pregethu yr efengyl, ac nas gallai gael ei pregethu i fodau meidrol, mewn un bywyd byr.

Yr wyf yn gwneyd y sylwadau hyn i'r dyben o ryddhau fy hun oddiwrth y tasg caled o gymmeryd arnaf i osod gerbron y gynnulleidfa hon, bob pwnc o'r athrawiaeth o iachawdwriaeth, yn eu holl amrywiol ystyrion, megys ag yr ymddangosant yn y bywyd hwn, ac yn ol ein dealltwriaeth ni. Yr wyf yn gwneyd y sylwadau rhag arweiniol hyn i ryddhau fy hun oddiwrth y tasg mawr o derfynu y bregeth a ddechreuaf. Ni ddysgwyliais ei therfynu; nid wyf yn dysgwyl gweled ei diwedd, cyn yr olygfa derfynol. Nid wyf hyd y nod yn ei dechreu yn ei dechreuad; nid wyf amgen nâ gafaelyd ynddi, lle y mae yn dyfod ataf, yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg, oblegid yr oedd o'm blaen i; y mae o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb.

Crist yw awdwr yr efengyl hon, y ddaear yma, dynion a benywod, holl hiliogaeth Adda ac Efa, a phob creadur byw sydd yn trigo ar wyneb y ddaear, sydd yn ehedeg yn yr awyr, sydd yn nofio yn y dyfroedd, neu sydd yn trigo yn y maesydd. Crist yw awdwr iachawdwriaeth i'r holl greadigaeth hon—i bob peth perthynol i'r byd daearol hwn a breswyliwn ni.

Byddai hyn, pa fodd bynag, yn groes i'n rhagfarn, i addef am fynyd, fod gan Grist, yn ei briodoleddau achubol, allu i waredu rhyw rai o weithredoedd ei ddwylaw; unrhyw greadur byw arall, heblaw plant Adda ac Efa;—ni fyddai hyn yn gydweddol â'n teimladau rhag-feddiannedig, a'n rhagfarnau hir fabwysiedig; eithr y mae efe wedi gwaredu y ddaear, ac y mae wedi gwaredu dynolryw a phob peth byw a ymsymuda arni; ac efe a orphena ei bregeth o'r efengyl pan orchfyga ei elynion, ac y gosodo ei elyn diweddaf o dan ei draed—pan ddinystrio farwolaeth, a'r hwn a fedd ei gallu hi—pan fo efe wedi cyfodi y deyrnas hon, a gor-

phen ei waith yr hwn a roddodd ei Dad iddo i'w wneuthur, a'i gyflwyno i'w Dad, gan ddywedyd, "Mi a wnaethym y gwaith, ac a'i gorphenais ef; nid yn unig mi a greais y byd, eithr mi a'i gwaredais; mi a wyliais arno, ac a roddais i'r bodau deallgar hyny ag a greaist trwof fi, eu goruchwyliaeth; ac y mae wedi ei gadw gyda pherffeithrwydd i bob creadur o ddealltwriaeth, i bob gradd o ddynolryw; mi a gedwais eu goruchwyliaeth yn ddilwgr; mi a wyliais drostynt, ac a oruwch-lywodraethais eu holl weithredoedd, ac a gedwais yn fy llaw dynghedfenau dynion; ac mi a orphenais fy mhregeth o'r efengyl," pan yn cyflwyno i fyny y gwaith gorphenedig i'w Dad.

Fe gymmer braidd berson fel yr Iachawdwr, i bregethu un bregeth o'r efengyl; a chafodd hon ei dechreu gyda dechreuad pawb dynion ar y ddaear hon neu ryw un arall; ac ni therfyna byth cyn yr olygfa olaf, ac y byddo y cyfan wedi ei orphen, a'r deyrnas yn cael ei chyflwyno i'r Tad.

Ni ddysgwyliaf ond edrych i ryw ranau o honi, fel y mae yn dyfod ataf yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg o'r cyfnod Cristionogol. Yn awr mi a ddarllenaf ddadguddiad a roddwyd i Joseph Smith, ieu., a Sidney Rigdon, ac a elwir

"GWELEDIGAETH.

"1. Clywch, O chwi nefoedd, a dyro glust, O ddaear, a llawenhewch, chwi drigolion y ddaear, canys yr Arglwydd sydd Dduw, ac hebddo ef nid oes un Iachawdwr; mawr yw ei ddoethineb, rhyfeddol yn ei ffyrdd, ac helaethrwydd ei weithrediadau nis dichon neb ei gael allan; ei ddybenion ni fethant, ac nid oes neb ychwaith a ddichon attal ei law; o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb yr un ydyw, a'i flynyddoedd ni ddarfyddant.

"2. Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, Myfi, yr Arglwydd, ydwyf drugarog a graslawn i'r rhai a'm hofnant, ac ymhyfrydaf i anrhydeddu y rhai a'm gwasanaethant mewn cyfiawnder ac mewn gwirionedd hyd y diwedd; mawr fydd eu gwobr, a thragwyddol fydd eu gogoniant; ac iddynt hwy dadguddiaf bob dirgeledigaethau, ie, holl guddiedig ddirgeledigaethau fy nheyrnas o'r dyddiau gynt, a thros oesoedd i ddyfod y gwnaf yn hysbys iddynt hwy ddymuniad da fy ewyllys ynghylch yr holl bethau a berthynant i'm teyrnas; ie, hyd y nod rhyfeddodau tragywyddoldeb a gant eu gwybod, a phethau i ddyfod a ddangosaf iddynt, hyd y nod pethau llawer o genedlaethau; eu doethineb a fydd mawr, a'u deall a gyrhaedd i'r nef; ac o'u blaen hwynt doethineb y doeth a ddiflana, a dealltwriaeth y synwyrol a ddaw i'r dim; canys trwy fy Ysbryd y goleuaf hwynt, a thrwy fy ngallu y

gwnaf yn hyspys iddynt ddirgelion fy ewyllys; ïe, hyd y nod y pethau hyny ni welodd llygad, ac ni chlywodd clust, ac ni ddaethant etto i galon dyn.

"3. Nyni, Joseph Smith, ieu., a Sidney Rigdon, yn bod yn yr Ysbryd ar yr unfed dydd ar bymtheg o Chwefror, yn mhlwyddyn ein Harglwydd un fil wyth cant a deuddeg ar hugain. Trwy allu yr Ysbryd ein llygaid a agorwyd a'n dealltwriaethau a oleuwyd, fel ag i ganfod a deall pethau Duw,—hyd y nod y pethau hyny ag oeddynt o'r dechreuad cyn bod y byd, y rhai a ordeiniwyd gan y Tad, trwy ei unig-anedig Fab, yr hwn oedd yn mynwes y Tad, hyd y nod o'r dechreuad, am yr hwn yr ydym ni yn dwyn tystiolaeth, a'r dystiolaeth ag ydym ni yn ddwyn yw cyflawnder efengyl Iesu Grist, yr hwn yw y Mab, yr hwn a welsom ni, ac â'r hwn yr ymddyddanasom yn y weledigaeth nefol; canys tra yr oeddym yn gwneuthur gwaith y cyfieithad, yr hwn a benodasai yr Arglwydd i ni, daethom i'r nawfed adnod ar hugain o'r bummed bennod o Ioan, yr hon a roddwyd i ni fel y canlyn. Yn llefaru am adgyfodiad y meirw, mewn perthynas i'r rhai a gant glywed llef Mab y dyn, ac a ddeuant allan; y rhai a wnaethant dda yn adgyfodiad y cyfiawn, a'r rhai a wnaethant ddrwg yn adgyfodiad yr anghyfiawn. Yn awr, hyn a barodd i ni synu, canys yr oedd wedi ei roddi i ni gan yr Ysbryd; a thra yr oeddym yn myfyrio ar y pethau hyn, yr Arglwydd a gyffyrddodd â llygaid ein dealltwriaethau, a hwy a agorwyd, a gogoniant yr Arglwydd a ymddysgleiriodd o'n hamgylch; a gwelsom ogoniant y Mab ar ddeheulaw y Tad, a derbyniasom o'i gyflawnder; a gwelsom yr angylion santaidd, a'r rhai sydd wedi eu santeiddio, gerbron ei orsedd, yn addoli Duw a'r Oen, y rhai ydynt yn ei addoli ef yn oes oesoedd. Ac yn awr, wedi y tystiolaethau lawer a roddwyd am dano ef, hon yw y dystiolaeth, y ddiweddaf oll a roddwn ni am dano ef, ei fod ef yn fyw; canys ni a'i gwelsom ef, hyd y nod ar ddeheulaw Duw, a chlywsom y llais yn dwyn tystiolaeth mai ef yw unig-anedig y Tad,—mai ganddo ef, a thrwyddo ef, ac erddo ef y mae ac y cafodd y bydoedd eu creu, a bod eu trigolion yn feibion a merched cenedledig i Dduw. A hyn a welsom hefyd, ac yr ydym yn dwyn tystiolaeth, i un o angylion Duw, yr hwn oedd mewn awdurdod yn mhresennoldeb Duw, yr hwn a wrthryfelodd yn erbyn yr unig-anedig Fab, yr hwn yr oedd y Tad yn ei garu, a'r hwn oedd yn mynwes y Tad,—gael ei daflu i lawr o bresennoldeb Duw a'r Mab, a galwyd ef Colledigaeth, canys y nefoedd a wylasant drosto ef,—efe oedd Lucifer, mab y wawr ddydd. Ac ni a edrychasom, ac wele, efe a syrthiodd! a syrthiodd! hyd y nod mab y wawr ddydd. A thra yr oeddym etto yn yr Ysbryd, yr Arglwydd a orchymynodd i ni ysgrifenu y weledigaeth, canys ni a welsom Satan, yr hen sarff hòno—sef y diafol—yr hwn a wrthryfelodd yn erbyn Duw, ac a geisiodd gymmeryd teyrnas ein Duw ni a'i Grist ef, gan hyny y mae yn rhyfela â saint Duw, ac yn eu hamgylchynu o amgylch ogylch. Ac ni a welsom weledigaeth o ddyoddefiadau y rhai

hyny y rhyfelodd ef â hwynt ac a'u gorchfygodd, canys fel hyn y daeth llais yr Arglwydd atom ni.

"4. Fel hyn y dywed yr Arglwydd, mewn perthynas i'r holl rai ag ydynt yn adnabod fy ngallu, ac a gawsant eu gwneyd yn gyfranogion o hono, ac a oddefasant eu hunain, trwy allu y diafol, i gael eu gorchfygu, ac i wadu y gwirionedd, a beiddio fy ngallu—hwynthwy yw y rhai hyny ag ydynt yn feibion colledigaeth, am y rhai yr wyf yn dywedyd y buasai yn well iddynt pe na chawsent erioed eu geni, canys llestri digofaint ydynt hwy, wedi eu dedfrydu i ddyoddef digofaint Duw gyda'r diafol a'i angylion yn nhragywyddoldeb; mewn perthynas i'r rhai y dywedais nad oes faddeuant yn y byd hwn nac yn y byd a ddaw, gan eu bod wedi gwadu yr Ysbryd Glân ar ol ei dderbyn, ac wedi gwadu unig-anedig Fab y Tad—wedi ei groeshoelio iddynt eu hunain, a'i osod yn waradwydd. Y rhai hyn ydynt hwy a gant fyned ymaith i'r llyn o dân a brwmstan, gyda'r diafol a'i angylion, a'r unig rai y bydd gan yr ail farwolaeth awdurdod arnynt; ïe, yn wir, yr unig rai na chant eu gwaredu yn amser priodol yr Arglwydd, ar ol dyoddefiadau ei ddigofaint ef; canys yr holl rai ereill a gant eu dwyn allan trwy adgyfodiad y meirw, trwy fuddugoliaeth a gogoniant yr Oen a laddwyd, yr hwn oedd yn mynwes y Tad cyn gwneyd y bydoedd. A hon yw yr efengyl, y newyddion da ag y dygodd y llais allan o'r nefoedd dystiolaeth i ni, iddo ef ddyfod i'r byd, sef Iesu, i gael ei groeshoelio dros y byd, ac i ddwyn pechodau y byd, ac i santeidd*io* y byd, ac i'w lanhau oddiwrth bob anghyfiawnder; fel trwyddo ef yr achubid pawb a osododd y Tad yn ei allu ac a wnaed ganddo ef, y rhai a ogoneddant y Tad, ac a achuba holl weithredoedd ei ddwylaw, oddieithr meibion colledigaeth, y rhai a wadant y Mab ar ol i'r Tad ei ddadguddio ef; gan hyny efe a achuba bawb ond hwynt hwy; hwy a ânt ymaith i gospedigaeth ddiddarfod, yr hon sydd gospedigaeth ddiddiwedd, yr hon sydd gospedigaeth dragywyddol, i deyrnasu gyda'r diafol a'i angylion yn nhragywyddoldeb, lle nad yw eu pryf yn marw, na'r tân yn diffodd, yr hyn yw eu poenedigaeth; a'r diwedd o hono, na'r lle o hono, na'u poenedigaeth, nid oes un dyn yn gwybod, ac ni ddadguddiwyd hwynt, ac nid yw, ac ni chaiff ei ddadguddio i ddyn, oddieithr i'r rhai a wneir yn gyfranogion o hono; er hyny, myfi, yr Arglwydd, wyf yn ei ddangos trwy weledigaeth i lawer, ond yn ddioed yn ei gau i fyny drachefn; gan hyny ei ddiwedd, ei led, ei uchder, ei ddyfnder, a'i drueni, ni ddeallasant hwynt, nac un dyn ond y rhai a ordeiniwyd i'r farnedigaeth hon. A ni a glywsom lais, yn dywedyd, Ysgrifenwch y weledigaeth, canys wele! hyn yw diwedd gweledigaeth dyoddefiadau yr annuwiol!

"5. A thrachefn, yr ydym yn dwyn tystiolaeth, canys ni a welsom ac a glywsom, a hyn yw tystiolaeth efengyl Crist mewn perthynas i'r rhai hyny a ddeuant allan yn adgyfodiad y cyfiawn; hwynthwy yw y rhai a dderbyniasant dystiolaeth Iesu, ac a gredasant yn ei enw ef, ac a fedyddiwyd yn ol dull ei gladdedigaeth ef, gan gael eu claddu yn y dwfr yn ei enw ef, a hyn yn ol y gor-

chymyn a roddodd ef, fel trwy gadw y gorchymynion y byddai iddynt gael eu golchi a'u glanhau oddiwrth eu holl bechodau, a derbyn yr Ysbryd Glân trwy arddodiad dwylaw yr hwn a ordeiniwyd ac a seliwyd i'r awdurdod hwn, a'r rhai a orchfygant trwy ffydd, ac a seliwyd gan Lân Ysbryd yr addewid; yr hwn a dywallta y Tad ar yr holl rai cyfiawn a chywir. Y rhai hyn ydynt eglwys y cyntaf-anedig. Y rhai hyn yw y rhai y rhoddodd y Tad bob peth i'w dwylaw,—hwynthwy ydynt y rhai sydd yn offeiriaid a breninoedd, y rhai a dderbyniasant o'i gyflawnder a'i ogoniant ef, ac sydd yn offeiriaid i'r Goruchaf yn ol urdd Melchisedec, yr hon oedd yn ol urdd Enoch, yr hon oedd yn ol urdd yr unig anedig Fab; gan hyny, megys y mae yn ysgrifenedig, Duwiau ydynt hwy, sef meibion Duw,—o ba herwydd, pob peth ydynt eiddo hwy, pa un ai bywyd ai angeu, neu bethau presennol neu bethau i ddyfod, pob peth sydd eiddo hwynt, a hwy ydynt eiddo Crist, a Christ yn eiddo Duw, a hwy a orchfygant bob peth; gan hyny na fydded i un dyn ymogoneddu mewn dyn, eithr yn hytrach bydded iddo ymogoneddu yn Nuw, yr hwn a ddarostynga bob gelynion dan ei draed,—y rhai hyn a breswyliant yn mhresennoldeb Duw a'i Grist ef yn oes oesoedd. Hwynthwy yw y rhai a ddyga efe gydag ef, pan ddaw yn nghymylau y nef, i deyrnasu ar y ddaear dros ei bobl. Y rhai hyn yw y rhai a gant ran yn yr adgyfodiad cyntaf. Y rhai hyn yw y rhai a ddeuant allan yn adgyfodiad y cyfiawn. Y rhai hyn yw y rhai sydd i ddyfod i fynydd Seion, ac i ddinas y Duw byw, y lle nefol, y santeiddiaf o bob lle. Y rhai hyn yw y rhai sydd wedi dyfod i gwmpeini aneirif o angylion, i gymmanfa gyffredinol eglwys Enoch, a'r cyntaf-anedig. Y rhai hyn ydynt hwy ag y mae eu henwau yn ysgrifenedig yn y nef, lle y mae Duw a Christ yn farnwr pawb. Y rhai hyn ydynt hwy ag ydynt yn ddynion cyfiawn wedi eu gwneyd yn berffaith trwy Iesu cyfryngwr y cyfammod newydd, yr hwn a weithiodd allan y Iawn perffaith hwn trwy dywalltiad ei waed ei hun. Y rhai hyn ydynt hwy ag y mae eu cyrff yn nefol, gogoniant y rhai yw eiddo yr haul, sef gogoniant Duw, yr uchaf o bawb, gogoniant yr hwn yr ysgrifenir am haul y ffurfafen ei fod yn gysgod o hono.

"6. A thrachefn, ni a welsom y byd daearol, ac wele a llyna, y rhai hyn ydynt hwy sydd o'r daearol, gogoniant y rhai a wahaniaetha oddiwrth eiddo eglwys y cyntaf anedig, y rhai ydynt wedi derbyn cyflawnder y Tad, hyd y nod megys y mae eiddo y lleuad yn gwahaniaethu oddiwrth haul y ffurfafen. Wele, y rhai hyn ydynt hwy a fuont farw heb ddeddf, ac hefyd hwy y rhai ydynt ysbrydion dynion yn cael eu cadw yn ngharchar, y rhai yr ymwelodd y Mab â hwynt ac y pregethodd yr efengyl iddynt, fel y bernid hwy yn ol dynion yn y cnawd, y rhai ni dderbyniasant dystiolaeth Iesu yn y cnawd, ond a'i derbyniasant yn ol llaw. Y rhai hyn ydynt hwy ag sydd yn ddynion anrhydeddus y ddaear, y rhai a ddallwyd gan gyfrwysdra dynion. Y rhai hyn ydynt hwy a dderbyniant o'i ogoniant, eithr nid o'i gyflawnder

Y rhai hyn ydynt hwy a dderbyniant o bresennoldeb y Mab, eithr nid o gyflawnder y Tad; gan hyny, cyrff daearol ydynt, ac nid cyrff nefol, a gwahaniaethant mewn gogoniant megys y mae y lleuad yn gwahaniaethu oddiwrth yr haul. Y rhai hyn ydynt hwy nid ydynt ddewrion yn nhystiolaeth Iesu; gan hyny ni chawsant y goron dros deyrnas ein Duw. Ac yn awr, hyn yw diwedd y weledigaeth a welsom ni am y daearol, yr hon y gorchymynodd yr Arglwydd i ni ei hysgrifenu tra yr oeddym etto yn yr Ysbryd.

"7. A thrachefn, ni a welsom ogoniant y tan-ddaearol, gogoniant yr hwn yw y lleiaf, hyd y nod megys y mae gogoniant y ser yn gwahaniaethu oddiwrth ogoniant y lleuad yn y ffurfafen. Y rhai hyn ydynt hwy ni dderbyniasant efengyl Crist, nac ychwaith dystiolaeth Iesu. Y rhai hyn ydynt hwy nad ydynt yn gwadu yr Ysbryd Glân. Y rhai hyn ydynt hwy a deflir i lawr i uffern. Y rhai hyn ydynt hwy na waredir oddiwrth y diafol hyd yr adgyfodiad olaf, hyd oni fyddo i'r Arglwydd, sef Crist yr Oen, orphen ei waith. Y rhai hyn ydynt hwy na dderbyniant o'i gyflawnder ef yn y byd tragywyddol, eithr o'r Ysbryd Glân trwy weinidogaeth y daearol; a'r daearol trwy weinidogaeth y nefol; ac hefyd y tan-ddaearol a'i derbynia trwy weinidogaeth angylion, y rhai a benodwyd i weinyddu iddynt hwy, neu y rhai a benodwyd i fod yn ysbrydion gwasanaethgar iddynt hwy, canys hwy a fyddant yn etifeddion iachawdwriaeth. Ac felly y gwelsom yn y weledigaeth nefol, ogoniant y tan-ddaearol, yr hwn sydd yn rhagori ar bob dealltwriaeth, ac nid oes un dyn yn ei adnabod oddieithr yr hwn y mae Duw wedi ei ddadguddio iddo. Ac felly ni a welsom ogoniant y daearol, yr hwn sydd yn rhagori yn mhob peth ar ogoniant y tan-ddaearol, sef mewn gogoniant, ac mewn gallu, ac mewn nerth, ac mewn llywodraeth. Ac felly ni a welsom ogoniant y nefol, yr hwn sydd yn rhagori yn mhob peth,—lle y mae Duw, sef y Tad, yn teyrnasu ar ei orsedd yn oes oesoedd; o flaen gorsedd yr hwn y mae pob peth yn ymgrymu mewn gostyngedig barch, ac yn rhoddi iddo ef ogoniant yn oes oesoedd. Hwynthwy a arosant yn ei bresennoldeb ydynt eglwys y cyntaf anedig, a hwy a welant megys eu gwelir, ac a adnabyddant megys yr adnabyddir hwynt, gan eu bod wedi derbyn o'i gyflawnder ac o'i ras ef; ac efe a'u gwna hwynt yn ogyfuwch mewn awdurdod, mewn gallu, ac mewn llywodraeth. Ac un yw gogoniant y nefol, megys ag y mae gogoniant yr haul yn un. Ac un yw gogoniant y daearol, megys ag y mae gogoniant y lleuad yn un. Ac un yw gogoniant y tan-ddaearol, megys ag y mae gogoniant y ser yn un; canys megys ag y mae un seren yn gwahaniaethu oddiwrth seren arall mewn gogoniant, felly y gwahaniaetha un oddiwrth y llall mewn gogoniant yn y byd tan-ddaearol; canys y rhai hyn ydynt hwy y rhai ydynt eiddo Paul, ac eiddo Apolos, ac eiddo Cephas. Dyma y rhai sydd yn dywedyd fod rhai o honynt yn eiddo un ac ereill yn eiddo y llall,—rhai yn eiddo Crist, a rhai yn eiddo Ioan, a rhai yn eiddo Moses,

a rhai yn eiddo Elias, a rhai yn eiddo Esaias, a rhai yn eiddo Isaiah, a rhai yn eiddo Enoch, eithr ni dderbyniasant yr efengyl, na thystiolaeth Iesu, na'r prophwydi, na'r cyfammod tragywyddol. Yn olaf oll, y rhai hyn ydynt hwy ni chesglir gyda'r saint, i gael eu cipio i fyny i eglwys y cyntaf-anedig, a'u derbyn i'r cwmwl. Y rhai hyn ydynt hwy sydd yn gelwyddwyr, yn hudolwyr, yn odinebwyr, yn buteinwyr, a phwy bynag sydd yn caru ac yn gwneuthur celwydd. Y rhai hyn ydynt hwy ag sydd yn dyoddef digofaint Duw ar y ddaear. Y rhai hyn ydynt sydd yn dyoddef dialedd tân tragywyddol. Y rhai hyn ydynt hwy a deflir i lawr i uffern i ddyoddef digofaint Duw Hollalluog hyd gyflawnder yr amseroedd pan fydd Crist wedi darostwng ei holl elynion dan ei draed, ac wedi perffeithio ei waith, pan rodda i fyny y deyrnas, ac y cyflwyna hi i'r Tad yn ddifrycheulyd, gan ddywedyd,—Myfi a orchfygais ac a sethrais y gwin-wryf fy hunan, sef gwin wryf llidiogrwydd digofaint yr Hollalluog Dduw. Yna y coronir ef â choron ei ogoniant, i eistedd ar orsedd ei allu i deyrnasu yn oes oesoedd. Eithr wele, a llyna, ni a welsom ogoniant a thrigolion y byd tan-ddaearol, eu bod mor aneirif â'r ser yn ffurfafen y nef, neu megys y tywod ar fin y môr, a chlywsom lais yr Arglwydd, yn dywedyd, Y rhai hyn oll a gant blygu y glin, a phob tafod a gaiff gyffesu iddo ef sydd yn eistedd ar yr orsedd yn oes oesoedd; canys hwy a fernir yn ol eu gweithredoedd, a phob dyn a dderbynia yn ol ei weithredoedd ei hun, ei lywodraeth ei hunan yn y trigfanau a barotowyd, a hwy a fyddant yn weision i'r Goruchaf, ond lle y mae Duw a Christ yn preswylio nis gallant hwy ddyfod, trwy fydoedd diddiwedd. Hyn yw diwedd y weledigaeth a welsom ni, yr hon y gorchymynwyd i ni ei hysgrifenu tra yr oeddym etto yn yr Ysbryd.

"8. Ond mawr a rhyfeddol yw gweithredoedd yr Arglwydd, a dirgeledigaethau ei deyrnas y rhai a ddangosodd efe i ni, y rhai ydynt yn rhagori ar bob dealltwriaeth mewn gogoniant, ac mewn gallu, ac mewn llywodraeth, y rhai y gorchymynodd ef i ni beidio eu hysgrifenu tra yr oeddym etto yn yr Ysbryd, ac nid ydynt gyfreithlawn i ddyn eu mynegi; ac nid yw dyn yn alluog ychwaith i'w gwneyd yn hysbys, canys nid ydynt i'w canfod na'u deall ond trwy allu yr Ysbryd Glân, yr hwn a rodda Duw i'r rhai hyny a'i carant ef, ac a burant eu hunain ger ei fron; i'r rhai y mae ef yn rhoddi y rhagorfraint hon o weled a gwybod drostynt eu hunain, fel trwy allu ac eglurhad yr Ysbryd, tra yn y cnawd, y byddont yn alluog i oddef ei bresennoldeb ef yn myd y gogoniant. Ac i Dduw a'r Oen y byddo gogoniant, ac anrhydedd, a llywodraeth yn oes oesoedd. Amen."

Dyma eiriau y Weledigaeth a roddwyd i Joseph a Sidney. Mae fy meddwl yn gorphwys ar y pwnc hwn, ar y rhan hon o efengyl yr iachawdwriaeth; ac y mae wedi bod felly, fwy neu lai, am lawer iawn o flynyddau. Mae yr amgylchiadau a'm ham-

gylchynant braidd bob dydd—y pethau a welaf ac a glywaf, yn achosi i'm meddwl fyfyrio ar sefyllfa dynolryw, ac yn creu ynof awydd i gael allan—i ddysgu paham y mae pethau megys ag y maent; paham y gwnai yr Arglwydd ffurfio byd fel y belen ddaearol hon, a'i osod mewn symudiad—yna ei boblogi â bodau deallgar, ac ar ol hyny daflu gorchudd dros y cyfan, a chuddio ei hun oddiwrth ei greadigaeth—cuddio rhagddynt ddoethineb, gogoniant, gwirionedd, rhagoroldeb, gwir egwyddorion ei nodweddiad, a'i fwriad yn ffurfio y ddaear.

Paham y taflwyd yr orchudd hon drostynt, a'u gadael mewn dygn dywyllwch—eu gadael i gael eu harwain ymaith gan athrawiaethau cyfeiliornus, y rhai a'u gwnelent hwy yn feius gerbron yr Arglwydd, yr hwn a'u gosododd ar wyneb y ddaear hon? Mae fy mhrofiad a'm sylw beunyddiol yn achosi i mi edrych i mewn i'r pethau hyn. A allaf briodoli y cyfan i ddoethineb yr Hwn a gorffolodd y ddaear hon, ac a'i poblogodd â bodau deallgar; a gweled y bobl yn dymuno yn onest i wneuthur yn iawn trwy ystod y dydd, ac na ddyrchafent law na sawdl yn erbyn yr Hollalluog, eithr y dewisent yn hytrach gael eu penau wedi eu cymmeryd oddiar eu cyrff, nâ'i ddianrhydeddu ef? Ac etto, yr ydym yn clywed un yn gwaeddi ar y llaw ddeheu, Dyma gyfraith Duw, dyma'r ffordd iawn; un arall ar yr aswy, yn dweyd yr un peth; un arall o'r tu blaen, ac un arall o'r tu ol; ac o bob pwynt y cwmpawd, y mae cannoedd a miloedd o honynt, a'r oll yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd.

Y maent hwy yn gwneyd y goreu a allant, yr wyf yn addef. Gwelwch breswylwyr y ddaear, fel y gwahaniaethant yn eu rhagfarnau, ac yn eu crefydd. Pa beth yw crefydd yr oes? Pa beth yw holl gyfreithiau gwladol a llywodraethau yr oes? Nid ydynt ond traddodiadau yn unig, heb un eithriad. A yw y bobl yn gwybod hyn, mai grym eu dysgeidiaeth sydd yn gwneyd *right* a *wrong* gyda hwynt? Nid y llinell ag y mae yr Arglwydd wedi ei thynu allan; nid y gyfraith ag a roddodd yr Arglwydd iddynt; nid y cyfiawnder ag sydd yn ol cymmeriad yr Hwn a greodd bob peth, ac sydd trwy ei law ei hun yn llywodraethu a rheoli pob peth, sydd yn gwneyd hyny, eithr rhagfarn dysgeidiaeth—y teimlad rhag-feddiannedig ag a genedlir yn nghalonau plant dynion, gan wrthddrychau amgylchynol; gan mai creaduriaid amgylchiadau yw y rhai hyny a lywodraethir ac a reolir ganddynt fwy

neu lai.—Pan arweinir hwy fel hyn i wahaniaethu oddiwrth eu gilydd, y mae yn magu ynddynt deimladau gwahanol; achosa iddynt wahaniaethu mewn egwyddor, dyben, a gweithrediad; yn eu harferion, crefydd, cyfreithiau, a'u hachosion teuluaidd, trwy yr holl fywyd dynol; ac etto y mae pob un, o bob cenedl o dan y nefoedd, yn ystyried mai hwy yw y bobl oreu—mai hwy yw y mwyaf cyfiawn, a'r rhai a feddant y dynion goreu a mwyaf gwybodus yn offeiriaid a llywodraethwyr, a'r rhai agosaf yn gwneuthur y peth a geisia yr Arglwydd ganddynt. Nid oes un genedl ar y ddaear hon ag nad yw yn arddel y barnau hyn.

(*I'w barhau.*)

---

## Y GOLYGYDD YN CROESI EI HUN.

Nid peth anghyffredin iawn yw fod golygyddion yn croesi eu hunain; mae hyny yn dygwydd yn ddigon mynych, ac yn rhy fynych o lawer. Eithr nid oes neb yn berffaith, i allu attal hyny pryd y mynont. Yr ydym ninnau wedi bod yn euog o groesi ein hunain hefyd, fel y canfyddir oddiwrth y llythyr canlynol:—

"Mr. Gol.,—Fel cysson ddarllenydd eich Udgorn clodwiw, dymunaf yn ostyngedig gael eglurhad ar yr hyn a ymddangosodd yn yr Udgorn o'ch eiddo, tud. 352, am y fl. 1851, sef eich amddiffyniad synwyrlawn yn wyneb y cyhuddiad o aml-wreigiaeth yn mhlith y Saint, a mawr barch i chwi am hyny; ond etto ymddengys yn hynod i mi weled yr un golygydd parchus wedi newid cymmaint yn ei farn cyn pen dwy flynedd; a thacw fe yn dod allan gan chwythu yn gryf yn yr Udgorn cyntaf yn 1853, Cyhoeddwch ryddid i bell ac agos o'r Saint i gymmeryd a fynont o wragedd. Yn awr, Mr. Gol., y gofyniad ydyw, pa un o'ch Udgyrn sydd i gredu, fel y gallwyf losgi y celwyddwr yn ddioed. Dymunaf arnoch i osod hwn yn yr Udgorn, ynghyd â'ch atebiad chwithau, fel y gallwyf fi ac ereill gael eich meddwl ar y pwnc.

Ydwyf, yr eiddoch yn ostyngedig,

*Maesteg.* John Jeremiah."

Buom yn dysgwyl am rywbeth o'r fath er pan gyhoeddasom y Dadguddiad ar Aml-wreigiaeth; ac y mae yn dda genym yn awr i gael cyfleusdra i ddweyd gair drosom ein hunain.

Ni fuom erioed yn honi y gwyddem bob peth, a bod pob peth a ddywedem yn gywir; canys gwyddem y gallasem lithro mewn meddwl, gair, a gweithred. Cyn dyfod i'r Eglwys hon gallasem fod wedi ysgrifenu llawer o bethau a fyddent yn groes i'r hyn a

ysgrifenasom wedi hyny; ac ar ol dyfod i'r Eglwys, gallwn fod wedi dweyd rhai pethau ar droion, yn ein hanwybodaeth, ag sydd yn groes i'r gwirionedd. Felly y mae wedi bod mewn cyssylltiad â'r pwnc o Aml-wreigiaeth. Pan oedd y sectariaid yn curo ar y Saint oddeutu dwy flynedd yn ol, ynghylch hyny, teimlasom duedd i'w hamddiffyn, a cheisio profi i'r cyhoedd nad oedd aml-wreigiaeth yn beth goddefol yn eu plith. Wel, nid oedd yn oddefadwy yn y wlad hon, ac ni fydd chwaith; a chan na wyddem ni well y pryd hwnw, ymdrechasom brofi allan o Lyfr Mormon a'r Athrawiaeth a Chyfammodau, nad oedd y Saint yn caniatâu mwy nag un wraig i bob gwr, yn agos yn yr un dull ag y mae parchedigion Cymru yn ymdrechu profi bod eu barnau cyfeiliornus hwy yn gysson â'r Beibl. Ni a ymdrechwn yn fwy o hyn allan i fod yn ddystaw am yr hyn a fyddom yn anwybodus yn ei gylch. Wedi i ni gael y fraint o glywed yr athrawiaeth o aml-wreigiaeth yn cael ei hegluro, gorfu i ni ei chredu fel rhyw athrawiaeth arall; ond cyn hyny, yr oeddem o'r un farn ag enwadau crefyddol ein gwlad, ac yn anwybodus fel hwythau. Y ydym yn credu pob gwirionedd fel ag y mae yn cael ei ddadguddio gan Dduw; a meddyliwn fod llawer o egwyddorion i gael eu dadguddio etto, ag na wyddom ni yn awr ddim yn eu cylch; canys nid yw pregeth fawr yr Efengyl etto wedi ei gorphen. Yn awr oedd yr amser i'r Eglwys hon gyfaddef yr egwyddor yma gerbron y byd: buasai ei chyfaddef yn gynt, fe ddichon, yn beryglus.

Wedi derbyn goleuni newydd ar y pwnc, nis gallwn farnu yn awr fod yr hyn a ddyfynasom o'r Ath. a Chyf. a Llyfr Mormon, yn milwrio dim yn erbyn aml-wreigiaeth yn mhlith y Saint. Yr hyn a ddyfynasom o'r Ath. a Chyf., tud. 300, sydd fel hyn:—"Yn gymmaint â bod eglwys Crist wedi ei gwarthruddo fel o fod yn euog o'r trosedd o odineb ac aml-wreigiaeth, cyhoeddwn ein bod yn credu y dylai un dyn gael un wraig, ac un fenyw ond un gwr, &c." Nid yw y geiriau hyn yn gosod allan na ddylai dyn gael rhagor nag un wraig, eithr y dylai gael *un*; ac o'r ochr arall, dywedir yn bendant nad yw gwraig i gael mwy nag un gwr. Drachefn, ni a sylwn ar y geiriau a ddyfynasom o Lyfr Mormon, tud. 101 a 102. Darllenir yno, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Mae y bobl hyn yn dechreu myned i ddrygioni; ni ddeallant yr ysgrythyrau; canys y maent yn ceisio esgusodi eu hunain i

buteinio, o herwydd y pethau a ysgrifenwyd mewn perthynas i Ddafydd, a Solomon ei fab. Wele, yr oedd gan Ddafydd a Solomon yn ddiau lawer o wragedd a gordderch wragedd, yr hyn beth oedd yn ffiaidd ger fy mron i, medd yr Arglwydd." Yn awr, ni sonir yma ond am Dafydd a Solomon, tra yr oedd aml-wreigiaeth yn cael ei arferyd gan amryw ereill. Mae y Beibl yn dangos fod ymddygiad Dafydd a Solomon yn ffiaidd yn ngolwg Duw, nid o herwydd fod llawer o wragedd ganddynt, ond o herwydd na chadwasant orchymynion yr Arglwydd mewn cyssylltiad â hwynt; ac felly yr oedd dilyn eu siampl hwy yn hyny yn beth ffiaidd yn ngolwg yr Arglwydd. Dywedir yn 2 Sam. xii, 8—11, mai yr Arglwydd a roddodd y gwragedd i Dafydd, ac mai efe wedi hyny a'u cymmerodd oddiwrtho o herwydd ei ffieidd-dra yn ymwneyd â gwraig dyn arall, yr hon ni roddodd yr Arglwydd iddo. Ffieidd-dra Solomon, drachefn, a allai fod yn gynnwysedig mewn cymmeryd gwragedd dyeithr o blith y cenedloedd, yn groes i ewyllys yr Arglwydd, y rhai a'i harweiniasant ef i droi ei galon at dduwiau ei wragedd (1 Bren. xi): pe cymmerasai efe lawer o wragedd o blith ei bobl ei hun, nid ymddengys i ni na fuasai yn boddloni yr Arglwydd. Yr hyn a ddywed y Dadguddiad a roddwyd trwy Joseph Smith yw, fod yr Arglwydd wedi cyfiawnhau ei weision gynt, ac yn eu mysg Dafydd a Solomon, i gymmeryd amryw wragedd, ac nid wedi ei cyfiawnhau am groesi ei orchymynion ef. Yn awr etto, cawn sylwi ar y geiriau a ganlynant y dyfyniad blaenorol o Lyfr Mormon; sef, "Ni chaiff un dyn yn eich plith chwi (y Nephiaid) ond un wraig; a gordderch-wragedd, ni chewch un; canys yr wyf fi, yr Arglwydd, yn ymhyfrydu mewn diweirdeb benywod. A phuteindra sydd ffiaidd ger fy mron i; felly y dywed Arglwydd y lluoedd. Am hyny, y bobl hyn a gant gadw fy ngorchymynion i, medd Arglwydd y lluoedd, neu ynte, melldigedig fydd eu tir er eu mwyn hwynt. Canys os myfi, medd Arglwydd y lluoedd, a gyfodaf i mi hâd, mi a orchymynaf fy mhobl; onide, hwy a gant wrandaw ar y pethau hyn." Gwelwn fod yma waharddiad pendant i'r Nephiaid: ond nid yw yn waharddiad i'r Saint yn yr oes hon; canys y mae Duw yn awr am gyfodi had, ac y mae wedi dadguddio hyny i'w bobl, fel yr awgrymai wrth y Nephiaid y gwnelai.

Gobeithiwn bellach ein bod wedi llwyddo i gyssoni pethau â'u gilydd, er boddlonrwydd ein darllenwyr. Nid gwaith hawdd i'w

cyssoni llawer o ysgrythyrau â'u gilydd; mae duwinyddion mwyaf ein gwlad yn methu lawer pryd. Nid ym ni ond dechreu dysgu; eithr y mae genym ysgol-feistri da, sef apostolion Duw, a dysgwyliwn wybod llawer o bethau yn well maes o law. Ond gwyddom hyn eisoes nad ydym wedi "cyhoeddi rhyddid i bell ac agos o'r Saint i gymmeryd a fynont o wragedd." Nid oes hawl gan neb i gymmeryd mwy nag un wraig mewn un wlad ar y ddaear ond yn Seion; ac nis gellir cymmeryd mwy nag un yn Seion, heb ganiatâd prif-lywydd yr Eglwys; a'r wraig gyntaf sydd i gydio yn llaw yr ail, a'i rhoddi i'w gwr. Mae llawer o swyddogion uchel yn Seion na feddant ond un wraig, tra mae ereill yn meddu rhagor. Ystyrir y priodasau a weinyddir yn y wlad hon a gwledydd ereill yn rai cyfreithlawn hyd angeu, a Seion yw y lle i'w sicrhau am bob tragywyddoldeb, ac nid i'w diddymu. Ceir cyfleusderau etto i egluro llawer yn ychwaneg ynghylch yr egwyddor newydd hon, fel na fydd achos i neb fod heb wybod yr oll yn ei chylch.

Yr ydym hefyd wedi derbyn llythyr ar y pwnc hwn oddiwrth un William Thomas, yr hwn, o herwydd ei ddull cecrus, a feddyliwn yw y William Thomas hwnw, gynt o Aberdâr, ag sydd yn awr wedi ei esgymuno o'n heglwys unwaith yn rhagor. Nid ydym ni yn meddwl treulio rhagor o amser i ymgomio ag ef, ac ni chynghorem neb ara'l i wneyd hyny; eithr cyhoeddwn £10 o wobr iddo ef, a phawb ereill, a allo brofi ein bod *ni* (y Golygydd) wedi derbyn arian oddiwrth y Saint, neu oddiwrth rhyw ddynion ereill, heb roddi cyfrif am danynt.

---

## YR EFENGYL.

EFENGYL yr Iesu sy'n llawn o fendithion
  I bawb o'r ffyddloniaid a geisiant mewn ffydd;
Mae ganddi addewid o'r bywyd sy'r awrhon,
  Ac hefyd addewid o'r bywyd a fydd:
Hi ddwg i'r ufyddion dystiolaeth tra eglur,
  Eu bod hwy yn feibion a merched i Dduw;
Cant ddoniau yr Yspryd i'w tywys yn gywir
  I wlad a ordeiniodd ein Tad i ni fyw.

*Aberammon.* JOHN LLEWELYN.

# MYNEGIAD CYFRIFIADOL

## O EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG,

*Am yr Hanner blwyddyn yn terfynu Rhag.* 31, 1852.

| Cynnadleddau. | Cang. | D. | A. | Hen. | Off. | Ath. | Di. | Tor | Mar. | Ymf. | Bed. | Oll. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 Manchester...... | 35 | 1 | 0 | 170 | 196 | 117 | 55 | 136 | 28 | 5 | 384 | 3282 |
| 2 Llundain ........ | 40 | 1 | 0 | 174 | 124 | 104 | 58 | 153 | 20 | 13 | 394 | 2464 |
| 3 Birmingham .... | 20 | 1 | 0 | 109 | 129 | 74 | 47 | 124 | 15 | 0 | 172 | 1883 |
| 4 South .......... | 29 | 1 | 0 | 56 | 79 | 49 | 44 | 110 | 15 | 0 | 130 | 1218 |
| 5 Norwich ........ | 26 | 2 | 0 | 63 | 57 | 34 | 25 | 81 | 8 | 4 | 203 | 1061 |
| 6 Liverpool ...... | 12 | 1 | 0 | 48 | 62 | 40 | 28 | 46 | 7 | 9 | 77 | 1041 |
| 7 Sheffield ........ | 21 | 1 | 0 | 40 | 71 | 41 | 17 | 78 | 6 | 7 | 85 | 954 |
| 8 Nottinghamshire.. | 16 | 0 | 0 | 59 | 57 | 49 | 27 | 46 | 5 | 0 | 100 | 948 |
| 9 Bradford ........ | 19 | 1 | 0 | 60 | 66 | 46 | 14 | 57 | 1 | 0 | 63 | 854 |
| 10 Cheltenham ..... | 22 | 0 | 0 | 68 | 48 | 38 | 26 | 97 | 6 | 0 | 72 | 842 |
| 11 Herefordshire.... | 28 | 0 | 1 | 74 | 47 | 39 | 24 | 14 | 4 | 1 | 49 | 790 |
| 12 Warwickshire.... | 28 | 0 | 0 | 70 | 45 | 30 | 18 | 23 | 5 | 0 | 44 | 710 |
| 13 Preston ........ | 15 | 1 | 0 | 65 | 48 | 36 | 13 | 18 | 1 | 0 | 17 | 687 |
| 14 Bedfordshire .... | 19 | 2 | 0 | 49 | 41 | 22 | 21 | 51 | 6 | 0 | 113 | 668 |
| 15 Worcestershire .. | 16 | 0 | 0 | 40 | 30 | 19 | 14 | 65 | 6 | 0 | 72 | 632 |
| 16 Newcastle-on-Tyne | 16 | 1 | 0 | 69 | 44 | 26 | 14 | 29 | 6 | 0 | 33 | 623 |
| 17 Kent ............ | 22 | 0 | 0 | 45 | 41 | 29 | 18 | 35 | 2 | 3 | 138 | 613 |
| 18 Southampton .... | 16 | 0 | 0 | 26 | 38 | 27 | 14 | 41 | 3 | 0 | 79 | 605 |
| 19 Reading ........ | 17 | 0 | 0 | 52 | 30 | 26 | 17 | 39 | 9 | 1 | 61 | 557 |
| 20 Staffordshire .... | 14 | 1 | 2 | 58 | 40 | 25 | 16 | 76 | 8 | 0 | 55 | 529 |
| 21 Lincolnshire .... | 20 | 0 | 2 | 36 | 33 | 27 | 8 | 17 | 3 | 4 | 24 | 467 |
| 22 Derbyshire ...... | 14 | 1 | 0 | 39 | 32 | 22 | 11 | 18 | 1 | 0 | 33 | 438 |
| 23 Leicestershire.... | 11 | 1 | 0 | 28 | 20 | 16 | 13 | 31 | 2 | 0 | 48 | 437 |
| 24 Essex............ | 14 | 0 | 0 | 33 | 16 | 16 | 11 | 33 | 1 | 0 | 76 | 326 |
| 25 Cambridgeshire .. | 10 | 0 | 0 | 22 | 25 | 14 | 8 | 21 | 0 | 2 | 42 | 316 |
| 26 Hull ............ | 7 | 0 | 0 | 24 | 11 | 19 | 6 | 13 | 4 | 0 | 25 | 294 |
| 27 Dorsetshire ...... | 7 | 0 | 0 | 14 | 10 | 12 | 12 | 18 | 1 | 0 | 24 | 261 |
| 28 Shropshire ...... | 9 | 0 | 0 | 20 | 17 | 10 | 5 | 19 | 4 | 0 | 8 | 231 |
| 29 Land's end ...... | 6 | 0 | 0 | 14 | 14 | 10 | 5 | 14 | 4 | 0 | 50 | 229 |
| 30 Carlisle.......... | 4 | 0 | 0 | 15 | 5 | 7 | 3 | 5 | 0 | 0 | 29 | 157 |
| 31 Morganwg Ddwyr. | 32 | 0 | 5 | 290 | 126 | 127 | 104 | 160 | 18 | 3 | 165 | 2258 |
| 32 Sir Fynwy ....... | 19 | 0 | 0 | 91 | 25 | 31 | 28 | 107 | 6 | 0 | 60 | 617 |
| 33 Morganwg Orllew. | 18 | 0 | 0 | 71 | 37 | 27 | 20 | 25 | 3 | 0 | 36 | 477 |
| 34 Llanelli ........ | 12 | 0 | 0 | 58 | 13 | 19 | 12 | 31 | 3 | 0 | 43 | 395 |
| 35 Dean Penfro .... | 12 | 0 | 0 | 34 | 6 | 5 | 5 | 4 | 1 | 0 | 26 | 180 |
| 36 Sir Frycheiniog.. | 11 | 0 | 0 | 35 | 10 | 8 | 7 | 7 | 1 | 1 | 21 | 169 |
| 37 Caerfyrddin .... | 7 | 0 | 0 | 24 | 7 | 5 | 7 | 6 | 0 | 0 | 10 | 163 |
| 38 Sir Ddinbych.... | 3 | 0 | 0 | 16 | 6 | 5 | 4 | 8 | 1 | 0 | 9 | 135 |
| 39 Sir Aberteifi .... | 6 | 0 | 0 | 20 | 9 | 4 | 3 | 0 | 0 | 0 | 13 | 133 |
| 40 Sir Fflint........ | 4 | 0 | 0 | 18 | 10 | 4 | 2 | 4 | 0 | 0 | 13 | 116 |
| 41 Sir Feirionydd .. | 6 | 0 | 0 | 18 | 2 | 1 | 1 | 4 | 0 | 0 | 2 | 66 |
| 42 Sir Fôn.......... | 6 | 0 | 0 | 9 | 5 | 3 | 1 | 27 | 0 | 0 | 8 | 54 |
| 43 Gogledd Penfro.. | 5 | 0 | 0 | 13 | 1 | 4 | 2 | 9 | 0 | 0 | 8 | 54 |
| 44 Dyffryn Conwy .. | 3 | 0 | 0 | 11 | 4 | 3 | 2 | 2 | 0 | 0 | 5 | 52 |
| 45 Glasgow ........ | 29 | 1 | 0 | 127 | 99 | 110 | 37 | 132 | 14 | 9 | 166 | 2030 |
| 46 Edinburgh ...... | 19 | 0 | 0 | 53 | 45 | 39 | 16 | 63 | 3 | 12 | 65 | 745 |
| 47 Dundee ........ | 7 | 0 | 0 | 14 | 17 | 15 | 8 | 45 | 2 | 0 | 28 | 330 |
| 48 Belfast.......... | 5 | 0 | 0 | 10 | 5 | 4 | 2 | 16 | 0 | 4 | 10 | 86 |
| 49 Dublin (Cangen) | 1 | 0 | 0 | 4 | 1 | 1 | 1 | 2 | 0 | 0 | 8 | 33 |
| 50 Londonderry etto | 1 | 0 | 0 | 2 | 3 | 1 | 0 | 3 | 0 | 0 | 0 | 21 |
| 51 Isle of Man...... | 3 | 0 | 0 | 13 | 6 | 4 | 2 | 1 | 1 | 7 | 4 | 105 |
| Cyfanswm.... | 742 | 17 | 10 | 2572 | 1913 | 1446 | 856 | 2164 | 234 | 85 | 3400 | 32339 |

# Y LLYWYDDIAETHAU.

## LLYWYDDIAETH YR EGLWYS YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG.

LLYWYDD.

Samuel W. Richards.

CYNGHORWR.

Levi Richards.

## LLYWYDDIAETH YR EGLWYS YN NGHYMRU.

LLYWYDD.

William S. Phillips.

CYNGHORWYR.

John Davis, Thomas Pugh.

## LLYWYDDION ADRANAU.

| LLYWYDD. | ADRAN. |
|---|---|
| C. H Wheelock, | Cynnadleddau Manchester, Liverpool, a Preston. |
| Jacob Gates, | Cynnadleddau Llundain, Reading, Kent, ac Essex. |
| Isaac C. Haight, | Cynnadleddau Birmingham, Cheltenham, South, Worcestershire, a Bedfordshire. |
| A. H. Harmon, | Cynnadleddau Newcastle-on-Tyne, Hull, a Carlisle. |
| Moses Clawson, | Cynnadleddau Lincolnshire, Bradford, Derbyshire, a Warwickshire. |
| Robert Campbell, | Cynnadleddau Glasgow, Edinburgh, a Dundee. |

## LLYWYDDION AC YSGRIFENWYR CYNNADLEDDAU.

| LLYWYDD. | YSGRIFENYDD. | LLYWYDD. | YSGRIFENYDD. |
|---|---|---|---|
| 1 Jonathan Midgley, | Jas. Johnstone. | 27 Edward Frost, | J. W. Hains. |
| 2 James Marsden, | T. C. Armstrong | 28 Charles Derry, | Thos. Williams. |
| 3 A. Marchant, | Charles Jones, | 29 W. G. Mills, | Samuel Francis. |
| 4 George Halliday, | Henry Folstone, | 30 A. M. Harmon | John Irving. |
| 5 C. V. Spencer, | | 31 Dan Jones, | W. D. Jones. |
| 6 A. F. McDonald, | John R Winter | 32 Thomas Giles | G. W. Davies |
| 7 John Albiston, | | 33 Robert Evans, | George Bywater. |
| 8 Henry Savage, | John Pimm. | 34 Abednego Jones, | David Williams. |
| 9 R. O. Menzies, | | 35 John Price, | Dan. Williams. |
| 10 John Hyde, sen., | William Clark. | 36 John D. Roberts, | Wm. Williams. |
| 11 Vincent Shurtleff, | Thos. Williams | 37 Thos. C. Martill, | Isaac Jones. |
| 12 Wm. Speakman, | Richard Tilt, | 38 John Parry, ieu., | H. C. Morris. |
| 13 J. W. Young, | John Foley. | 39 John Evans, | David John. |
| 14 Job Smith, | Jos. Chapman | 40 William Parry, | Lewis Davies. |
| 15 Matthew Rowan, | John Kelly. | 41 W. W. Richards, | John Jones, |
| 16 William McGhie, | Robert Hazon, | 42 William Simms, | John Davies. |
| 17 John W. Lewis, | Henry Maibin, | 43 Philip Sykes, | Thomas Evans. |
| 18 Richard Rostron, | Chas. Kemmish | 44 Richard Roberts, | W. Davies, ieu, |
| 19 Thomas Squires, | Henry Kendall. | 45 John Lyon | Patrick Lynch. |
| 20 Jos. Westwood, | William Wright. | 46 T. W. Brewerton, | F. C. Robinson. |
| 21 J. Carmichael, | Edward Weaver. | 47 Jas. McNaughtan, | James Mair. |
| 22 George Kendall, | John Bush. | 48 Gilbert Clements, | Samuel Ferris. |
| 23 John O. Angus, | Thos. Harrald. | 49 Edw. Sutherland, | T. Sutherland. |
| 24 Martin Slack, | E. L. T Harrison | 50 R. G Frazer, | Hugh Sheppard. |
| 25 J. V. Long, | John Brown. | 51 John Kelly, | T. B. Bourne. |
| 26 J. T. Hardy, | A. S. Green | | |

## AMRYWIAETHAU, &c.

---

Gwell i ddyn fod ei weithredoedd ei hun yn ei glodfori, na bod geiriau un arall. "Adnebydd dy hun," ebe Bias; "felly ni chaiff un gwenieithwr dy dwyllo."

Cadw dy dafod, a chadw dy gyfaill; ychydig o eiriau a orchuddiant lawer o ddoethineb, a'r ffol a gyfrifir yn ddoeth tra y tawo.

Na ddysgwyliwch fyth gynnorthwy na chysur yn eich anghenion, oddiwrth gymdeithion meddw.

Dylem fod yn ofalus i deilyngu cymmeriad da, trwy ymddwyn yn rhinweddol; ac ond cymmeryd y gofal dyledus nid oes achos bod yn rhy awyddus am y llwyddiant.

Hwyliodd 332 o Saint o Liverpool, ar y 17eg o'r mis hwn, ar fwrdd yr "Ellen Maria," dan lywyddiaeth yr Henuriad Clawson. Yn mhlith y nifer yr oedd yr Henuriad Thomas Pugh, o'r Lywyddiaeth Gymreig, a'r Henuriad George Kendal, diweddar lywydd Cynnadledd Derbyshire.—Hefyd, ar y dydd blaenorol, hwyliodd y "Forest Monarch" gyda 227 o'r Saint Danaidd ar ei bwrdd, dan lywyddiaeth yr Henuriad John Forssgren.

Y Planedau Newyddion.—Mae ein gwybodaeth o'r gyfundraeth heuliog wedi ei chynnyddu yn ystod y flwyddyn 1852, trwy ddarganfyddiad dim llai nâ saith o blanedau newyddion, i gyd hyd yn hyn yn anadnabyddus, y rhai a gylch-droant yn y tŵr rhwng Mawrth a Jupiter. Mae y tŵr hwn yn awr yn rhifo 22 o blanedau rhwng y cwbl. Y saith a ddarganfyddwyd yn ystod y flwyddyn ddiweddaf ydynt fel y canlyn:—Psyche, a ddarganfyddwyd gan De Gasparis yn Naples; Thetis, a ddarganfyddwyd gan Luther, yn Bilk, ger Dusseldorf; Fortuna, a ddarganfyddwyd gan Hind, yn Llundain; Melpomene, a ddarganfyddwyd gan Hind, yn Llundain; Massilia, a ddarganfyddwyd gan De Gasparis, yn Naples; Calliope, a ddarganfyddwyd gan Hind, yn Llundain; a Lutetia, a ddarganfyddwyd gan Goldschmidst, yn Paris.—*Liverpool Albion.*

---

Taliadau o Ion. 21 hyd Ion. 27.—Aberamman, 4s 2c; Georgetown, 7s 6½c; Penydarren, 3s; Troedyrhiw, 1s 6c; Cap Coch, 5s.—Cyfanswm, £1 1s 2½c.

Ymfudiaeth.—Ni ddanfonir ymfudwyr allan y tymmor hwn ar ol y cyntaf o Fawrth.

☞ Cyfeiriwn ein darllenwyr i'r "Star," No. 5, am sylwadau mewn cyssylltiad â'r Mynegiad Cyfrifiadol yn y rhifyn hwn.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 6.] CHWEFROR 5, 1853. [CYF. V.

## PREGETH,

*A draddodwyd gan y Llywydd B. Young, yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Fawr, Awst 8, 1852.*

(Parhad o dud. 78.)

TYBIWCH fod gofyniad yn cyfodi yn meddyliau gwahanol sectau y teulu dynol—A yw Saint y Dyddiau Diweddaf yn meddwl mai hwy yw y bobl oreu dan yr holl nefoedd, fel ein hunain? Ydynt, yn ddiau; yr wyf yn cymmeryd hyna ataf fy hun. Mae Saint y Dyddiau Diweddaf yn meddu yr un teimladau â'r lleill o'r bobloedd; meddyliant hefyd fod ganddynt fwy o ddoethineb, a gwybodaeth, a'u bod y rhai agosaf o fod yn iawn o bob pobl ar wyneb y ddaear.

Tybiwch ped ymwelech â China, ac ymgymmysgu â'r bodau "nefolaidd" yno; chwi a gaech bobl ag sydd yn dirmygu ac yn gwawdio pob pobl arall, ac yn neillduol y rhai hyny a gyfansoddant y byd Cristionogol. Ystyriant eu hunain yn fwy santaidd, yn fwy cyfiawn, yn fwy union, ac yn fwy onest, ac wedi eu llenwi â mwy o ddealltwriaeth; ystyriant eu hunain yn fwy dysgedig, ac yn well yn mhob ystyr, yn eu holl ddefodau gwladol a chrefyddol, nag unrhyw genedl arall dan y nef.

Tybiwch yn nesaf eich bod yn ymweled â'r Yspaen; yno y cewch afael ar fam, a mamgu, a hen famgu yr holl enwadau Cristionogol ar wyneb y ddaear—er nad yw y rhai hyn ond

cyfran fechan o ddynolryw, mewn cyferbyniad i'r holl drigolion ar hyd wyneb y byd. Meddyliwyf nad oes un rhan o ddeuddeg, neu un rhan o un-ar-bymtheg, o drigolion y ddaear, yn credu yn Iesu Grist—a thra thebygol nad oes un o bob deg ar hugain o honynt hwythau ychwaith.

Ewch at fam Cristionogaeth ddiweddar; ewch i'r Eidal—i Rhufain, i eisteddle ei llywodraeth, ac ni a gawn eu bod hwythau hefyd yn ystyried eu hunain y bobl oreu yn y byd—yr agosaf at yr Arglwydd, ac at lwybr uniondeb—yn fwy felly nag unrhyw bobl arall ar wyneb y ddaear.

Yna ymweiwch â'r eglwys Brotestanaidd gyntaf a gorffolwyd, ac ystyriant hwythau eu hunain yn agosach i fod yn iawn nâ'u mam, ac na neb o'u chwiorydd. Gellwch eu holrhain yn y modd hyn i waered hyd at y diwygiwr olaf ar y ddaear; ac yna troi yn ol at y rhai a alwn yn baganiaid—at bawb erioed a fu byw, o'r lle y tiriodd Noah ei arch, hyd adeiladiad twr Babel; ac yn eu gwasgariad, olrhain eu traed i'r ynysoedd a'r cyfandiroedd dan yr holl nefoedd, ac ni chewch bobl nad ydynt yn credu nad hwynt-hwy yw y mwyaf iawn yn eu crefydd—yn fwy felly nâ'u cymmydogion—ac sydd yn meddu y ffurf oreu o lywodraeth wladol.

Meddyliwch pe galwech gyda chyn-frodorion ein gwlad ni yma—yr Indiaid gwylltion; yr ydym ni yn eu galw yn anwariaid, ac yn baganiaid. Rhyddhaer chwi eich hunain o ragfarn; gadawer i hyny i gael ei lwyr anghofio a'i adael allan o'r cwestiwn, ynghyd â'ch holl ddysgeidiaeth, a'ch cyn-feddyliau am bethau, eich barnau crefyddol, &c., a bydded eich meddyliau mewn gweledigaeth agored gerbron yr Hollalluog, gan weled pethau fel ag y maent,—a chwi a gewch allan fod y bobl yna yn gwybod braidd gymmaint am yr Arglwydd â rhywrai ereill: fel y lleill o ddynolryw, y maent yn troedio ar res o dybiau ac ordinhadau, perthynol i ragfarn eu haddysgiaeth.

Hyn oll yr wyf fi yn ei addef; ac yr wyf yn ei addef ar gyfrif fy ngwybodaeth fy hun, yr hon sydd genyf o barthed i drigolion y ddaear: hyn, hefyd, a ŵyr pob dyn ag sydd yn hysbys o wahanol ddefodau a chrefyddau gwahanol wledydd.

Bydded i mi fyned drosodd i Loegr, a dwyn genyf fy nrych-feddyliau a'm harferion Americanaidd, ac mi a fyddwn yn wat-war ganddynt. Eled Sais drosodd i Scotland, a llefaru a gweith-

redu yn ol dull y Saeson, ac efe a wahaniaethai gymmaint oddi wrthynt hwy yno, fel y chwarddent am ei ben. Eled Ysgot-ddyn neu Sais i'r Iwerddon, ac ymddygid tuag ato yn gyffelyb. Mae y gwahaniaeth hyn mewn teimlad, barn, ac arferiad, yn bodoli yn y gwledydd hyny ag ydynt mor agos i'w gilydd. Ped elech i Ffrainc, cawsech eu bod yn siarad am ddefodau ac arferion Lloegr, fel yn annheilwng o'u sylw. Ped elech fel hyn, oddiwrth un bobl at y llall, trwy bob cenedl, chwi a gaech allan eu bod yn gwahaniaethu yn eu defodau crefyddol a chenedlaethol, yn gyferbyniol i addysg y fam a'r offeiriad. Yn y modd hyn y mae *cydwybodau* dynolryw yn cael eu ffurfio—*trwy y ddysgeidiaeth a dderbyniant.* Gwyddoch fod hyn yn wir, trwy eich profiad eich hunain.

Yr hyn a ystyriech unwaith, efallai, yn ddianghenrhaid mewn crefydd, a ystyriwch yn awr yn dra anghenrheidiol. Mae yr hyn a gyfrifech unwaith yn anweddus mewn cymdeithas, wedi cael ei gydwau gymmaint â'ch teimladau, trwy gynnefino ag ef, fel yn y diwedd yr ymddangosa i chwi yn ddigon rhesymol.

Pan y sylwoch ar drigolion y byd, chwi a gewch allan fod barnau crefyddol pob cenedl wedi deillio oddiwrth eu haddysgiad; o ganlyniad, pe gwysiem yr holl ddaear ger ein bron, a'u harholi yn fanwl, ni a gaem fod cenedloedd y ddaear, cyn belled ag y maent yn gwybod ac yn deall, yn gwneyd ynghylch eu goreu, yn ol fel y gwyddant y ffordd; y maent oddeutu cyn agosed i fod yn iawn ag y gwyddant y ffordd i fod.

Mae y llwythau hyn o Indiaid yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd yn eu barnau a'u teimladau; hwy a ryfelant a'u gilydd, ac a geisiant ddyfetha eu gilydd; a phaham y gwnant felly? Wel, "nid ydych chwi mor gyfiawn â mi, ac yr wyf am eich cael i fod o'r un ffydd santaidd â minnau." Yr ydych yn gweled y llwythau hyn o Indiaid yn gwneyd y pethau hyn, ac yr ydych yn diystyru y drychfeddwl. Tybiwch eich bod yn helaethu yr egwyddor, a'i dwyn i blith cenedloedd mwyaf y ddaear; a chwi a welech y Frenines Victoria, un o'r penaduriaid mwyaf galluog, yn eistedd wrth ben un o'r cenedloedd mwyaf galluog ar y ddaear, yn danfon ei lluoedd i blith y rhai "nefolaidd," gan ddryllio caerau China, tanio at eu dinasoedd, creu annhrefn yn eu Taleithiau, a dinystrio eu pobl—gan estyn eu llwodraeth dros India. A phaham y mae hyn oll? "I'ch darostwng chwi

baganiaid, a'ch dwyn drosodd at ein harferion a'n crefydd rhagorach ni."

A oes un genedl yn cyfodi i ryfel yn erbyn un arall, heb fod ganddi ddybenion, a'r rhai hyny yn cael eu cadarnhau ganddynt fel rhai da a digonol? A gyfyd un pobl i fyny i ryfel yn erbyn pobl arall, oddieithr fod y dyben a'u cymhella o'r fath natur ag sydd yn eu cyfiawnhau yn eu meddwl a'u barn eu hunain am wneuthur felly? Na wna. Nid oes un pobl ar wyneb y ddaear hon ag a wnaent felly; maent oll yn amcanu gwneuthur yr hyn a ymddengys yn oreu iddynt.

Dyna'r Iuddewon—a chofiwch eu bod hwy yn bobl tra chrefyddol hyd y dydd hwn; ac ni fu byw erioed bobl mwy crefyddol nâ hwy, hyny yw, llwyth Judah, a hanner llwyth Benjamin, y rhai a adawyd yn Jerusalem; y maent hwy mor afaelgar ag y gall unrhyw bobl fod, hyd y dydd hwn, am grefydd eu tadau; a pha le y gallwch eu gweled yn mhlith cenedloedd y ddaear, heb weled pobl ag sydd wedi eu hela, eu gyru, a'u herlid? Mae cyfreithiau y cenedloedd wedi eu ffurfio i'r unig ddyben o'u lladd a'u dyfetha oddiar y ddaear. Ië, yn nghanol cenedloedd a broffesant lynu wrth athrawiaeth Cristionogaeth—ag sydd yn gwneuthur cyfreithiau, ac yn eu gosod mewn grym,—y mae cyfreithiau wedi eu gwneyd er eu dyfetha; yna gwaeddi yn eu herbyn, a chodi terfysgwyr i'w herlid a'u dyfetha, a chlirio y ddaear o'r Iuddewon. Yn ngwyneb hyn oll, a adawent hwy eu crefydd? Na wnaent.—Y maent wedi goddef i'w hunain gael eu llabyddio yn ystrydoedd y dinasoedd, a'u tai i gael eu llosgi uwch eu penau; eithr a adawant hwy eu crefydd? Na wnant! Hwy a drengant yn hytrach.

Dywed y Cristionogion eu bod yn gyfeiliornus; a buasai yr "Eglwys Rufeinig Gatholig a Santaidd" wedi lladd pob un o honynt, gannoedd o flynyddoedd yn ol, oni bai fod Duw wedi addaw trwy ei brophwydi santaidd, y caent hwy aros a lliosogi; maent wedi cael eu rhanu, eu chwalu, a'u gwasgaru yn mhlith cenedloedd y ddaear, er cyflawni hyny, a llawer yn ychwaneg o ddywediadau eu prophwydi; ac y maent mor afaelgar y dydd heddyw, o barthed i'w crefydd, ag oeddynt yn nydddiau Moses, ac yr un mor bryderus yn dysgwyl ac yn edrych am y Messiah.

Nid yw cydwybod yn ddim arall nâ'r canlyniad o addysgiad a thraddodiadau trigolion y ddaear; mae y rhai hyn yn cael eu

cyd-wau â'u teimladau, ac y maent fel clogyn yn eu llwyr orchuddio, dan y cymmeriad o gymdeithasau, cymmydogaethau, pobl, neu bersonau; maent yn ffurfio y fath hono o lywodraeth a chrefydd, ac yn dilyn y ffordd hono yn gymdeithasol neu bersonol, ag a welant yn addas eu hunain.

Pan edrychom ar yr holl greadigaeth, a hyny, hefyd, er dyddiau Adda, i waered hyd yr amser hwn, pa beth ydym yn weled? Yn ol darlleniad y Beibl, ymadroddion Iesu Grist, a'r holl hen brophwydi a'r apostolion,—bydd i bob enaid, pob mab a merch i Adda ac Efa, ag a fu byw er dydd y troseddiad hyd y pryd hwn, ac a fydd byw o'r pryd hwn allan, cyhyd ag y parhao unrhyw rai o hiliogaeth Adda ac Efa ar y ddaear,—os nad adwaenant Iesu Grist, a'i Dad, a derbyn yr Ysbryd Glân, a bod yn barod i drigo gyda'r Tad a'r Mab; dyfod yn adnabyddus o honynt, ac ymddyddan â hwynt—ïe, meddaf, bydd iddynt gael eu damnio; pob enaid o honynt a anfonir i uffern.

A pha beth ydym yn weled ar gefn hyn, gofynaf? Yr ydym yn gweled fod yr holl fyd cristionogol yn barod i neidio ar y rhai a gredant yn Iesu Grist, ac sydd yn ymgeisio cyrhaedd y wybodaeth hon, a'u malu i lawr, a'u gyru i lawr, a pharhau i bwyso arnynt, a chrugio arnynt i lawr—i lawr i waelod y "*pwll diwaelod*," a thaflu arnynt haiarn a phlwm, er eu cadw i lawr. Dyma yw yr hyn a welwn; a gall yr holl greadigaeth ei weled hefyd, os bydd iddynt agor eu llygaid.

Ni chymmeraf arnaf i brofi o'r Beibl bob peth a ddywedaf, eithr y mae'r cyfan yno.

Gyda golwg ar ffurfiadau neillduol ac amrywiol crefyddau yr oes, mi a ddywedaf, y gallwn weled ynddynt y llinellau cryfion cyntaf o efengyl Crist wedi eu tynu allan, y rhai a fodolasant yn eu mysg oddiar ddyddiau y gwrthgiliad oddiwrth y wir ffurf, hyd y dydd hwn.

Pe gallech ond ymostwng eich hunain, hyd nes y goleuid eich llygaid gan Ysbryd Duw, trwy ysbryd dealltwriaeth, chwi a ddeallech bethau nas gall y byd eu gweled; a chwi a ddeallech mai braint pob dyn yw gwybod sefyllfa gywir holl drigolion y ddaear drostynt eu hunain. Yr apostolion cyntefig a welent hyn; fe wyddai Iesu Grist bob peth yn ei gylch; a'r prophwydi o'i flaen a brophwydent, ac a ysgrifenent, ac a bregethent yn

nghylch yr hyn ag oedd ar y ddaear y pryd hyny, yr hyn a fu, a'r hyn a fyddai.

Gallai y gofyniad gael ei ofyn, A all rhywrai yn y byd brophwydo, heb feddu yr ysbryd at hyny? Na allant. Hwy a allant brophwydo celwydd, trwy ysbrydoliad ysbryd celwyddog; eithr a allant hwy weled a deall pethau i ddyfod, fel ag i brophwydo yn wirioneddol am bethau i ddyfod, oddieithr eu bod wedi eu cynnysgaethu ag ysbryd y brophwydoliaeth? Na allant! Ai hyn yw braint pob person? Ië. Gadewch i mi sylwi yn y fan yma—fod yn rhaid i'r bobl hyn a elwir Saint y Dyddiau Diweddaf gael eu dwyn i'r lle y mae iddynt gael eu hyfforddi (os na fuont yno yn barod), lle yr ymostyngant eu hunain, y gweithredant gyfiawnder, y gogoneddant Dduw, ac y cadwant ei orchymynion. Os na feddant deimladau anwahanedig, hwy a geryddir hyd nes y cant hwynt; nid yn unig fe gaiff pob un o honynt weled drostynt eu hunain, a phrophwydo drostynt eu hunain, cael gweledigaethau iddynt eu hunain,—eithr hwy a wneir yn adnabyddus o'r holl egwyddorion a'r cyfreithiau ag sydd yn anghenrhaid iddynt eu gwybod, fel na fyddo anghenrheidrwydd i neb eu dysgu.

Ai nid yw yr amser i ddyfod, pan na ddywedaf fi wrth fy nghymmydog, Adnebydd yr Arglwydd, canys efe a'i hadnebydd cystal â minnau? Dyma y bobl sydd i ddyfod o hyd i hyny, rywbryd neu gilydd. A allwn ddyfod o hyd i hyny? Gallwn. Os ydych chwi yn ysgolheigion diwyd a ffyddlawn, yn yr ysgol ag ydych wedi myned iddi, chwi a gewch wersi y naill ar ol y llall, a pharhau yn mlaen, hyd nes y gellwch weled a deall ysbryd y brophwydoliaeth a dadguddiad; y rhai a ellir eu deall yn unol ag egwyddor gyfundraethol, mor gelfydd ag y gall y Proffeswr Pratt, yr hwn a eistedda yn union y tu cefn i mi, ddeall *problem* astronomyddol.

Nid wyf yn bwriadu sylwi ar hyna, na dweyd dim wrth y brodyr, neu wrth y bobl hyn, o barthed i'w rhodiad a'u gweithredoedd beunyddiol. Yr oeddwn wedi addaw sylwi ar drigolion y ddaear, a'u sefyllfa, fel y gallech chwi a minnau ddeall fod llaw gan yr Arglwydd Hollalluog yn yr holl faterion hyn; fod yr Arglwydd ar y ddaear, ac yn llanw y gwagle; y mae efe yn mhob man; y mae yn cyfarwyddo llywodraethwyr a breninoedd, ac yn rheoli holl achosion cenedloedd y ddaear, ac y mae wedi gwneyd

hyny er dyddiau Adda, ac efe a wna hyny hyd yr amser diweddaf, ac y gorphenir y gwaith.

Nid oes ond un pregeth yr efengyl, cofiwch, frodyr a chwiorydd; a'r amser ag sydd ofynol i'w phregethu, sydd er dydd y cwymp, neu er y dydd y daeth Adda a'i wraig Efa yma ar y blaned hon, ac o'r amser hwnw hyd nes y byddo Iesu Grist wedi gorchfygu y gelyn diweddaf, yr hwn yw angeu, a gosod pob peth dan ei draed, a dirwyn i fyny bob peth perthynol i'r ddaear hon. Yna bydd yr efengyl wedi ei phregethu, a'i dwyn i fyny a'i chyflwyno, ynghyd â'i phethau, i'r Tad.

Yn awr, pa beth a wnawn o drigolion y ddaear? Gall eu gwir sefyllfa gael ei dangos i'ch meddyliau, os gwnewch bwyllog fyfyrio. Gall pob dyn, pa un a fyddont wedi teithio ai peidio, os byddant yn adnabyddus o hanes cenedloedd, ganfod ar unwaith yr amrywiaeth sydd o grefyddau, arferion, cyfreithiau, a llywodraethau; ac os bydd i chwi osod eich calonau ar waith, gellwch ddeall yr achos o'r amrywiaeth hyn o effeithiau.

Drachefn, dyna'r cenedloedd ag sydd wedi byw o'n blaen—pa beth a wnawn o honynt hwy? A pha beth yw eu sefyllfa yn y byd arall? Pa beth sydd genym yn awr i ddweyd am danynt? Mi a allaf ei ddweyd yn fyr. Yr ydym yn pregethu iddynt efengyl yr iachawdwriaeth—i'r meirw, trwy y rhai a fuont byw yn yr oruchwyliaeth hon; ac y mae yn ran a chyfran o bregeth fawr yr efengyl, ychydig yma ac ychydig acw, ag sydd yn anghenrheidiol i'r genedl i ba un ei rhoddir. Gyda golwg ar athrawiaeth, rheolau, defodau, a llawer o sacramentau, mesurir hwynt allan i drigolion y ddaear fel y maent yn sefyll mewn anghen, yn ol eu sefyllfaoedd, a'r hyn a ofynir ganddynt.

Chwi a ellwch ofyn, pa beth a fesurir allan i ni? Atebaf, mai yr ordinhadau a'r sacramentau a sefydlodd yr Arglwydd Iesu Grist er iachawdwriaeth yr Iuddewon, er mwyn holl dŷ Israel, ac yna er mwyn y Cenedloedd. Dyma yw yr efengyl—cynllun yr iachawdwriaeth a roddodd yr Arglwydd i ni. Hon yw y deyrnas a gyflwynodd yr Arglwydd i ni; yr un a gyflwynodd efe i'r apostolion yn nyddiau yr Iesu. Yn awr, gwaith y bobl yw dyfod yn hysbys o'r cyfreithiau hyn, ac ordinhadau iachawdwriaeth, yna eu cymhwyso at eu bywydau, a gwna hyny achub cynnifer yn y deyrnas nefol, yn mhresennoldeb y Tad a'r Mab, ag a lynant yn llwyr wrthynt. Yr ydym yn darllen hyn yn y llyfr cysseg-

redig; y mae hyn o'n blaen yr holl amser, mai cynnifer ag a gredant efengyl Iesu Grist, ac a fyddant byw i fyny i'w gofyniadau yn eu bywydau, ac a fyddant feirw yn y ffydd, a dderbyniant goron bywyd gyda'r apostolion, a'r holl ffyddloniaid yn Iesu Grist.

Pa beth nesaf? Mi a hysbysaf i chwi arferiaid henuriaid Saint y Dyddiau Diweddaf yn gyffredin. Er enghraifft, dyma fi yn cyfodi yma, ac yn pregethu cyflawnder yr efengyl, i bersonau fe ddichon nas clywsant hi erioed o'r blaen yn eu hoes, ac yn terfynu trwy ddywedyd, Chwi y rhai a gredasoch yr hyn a ddywedais wrthych, a fyddwch cadwedig; ac os na chredwch, chwi a ddemnir. Yr wyf yn gadael y pwnc yn y fan yna. Eithr, meddai rhywun, "onid yw y Beibl yn dweyd felly?" Chwi a ddylech egluro eich hun. "Ni ddywedais i ond yr hyn a ddysgodd yr Iachawdwr—efe a ddywedodd, Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur; y neb a gredo, ac a fedyddier, a fydd cadwedig; a'r neb ni chredo a ddemnir. Ai nid wyf finnau yn dweyd yr un peth?" Yr ydych chwi yn ei adael yna, onid ydych? "Ydwyf; gadawodd yr apostol ef yna, ac felly yr wyf finnau yn gwneyd.

Dymunaf egluro ychydig yn mheillach, yn ol symlrwydd ac eglurdeb yr iaith Seisnig. Swm yr arferiad hwn yw hyn; pan wyf fi yn traddodi pregeth am yr efengyl, a hwythau yn peidio credu yr hyn a ddywedaf, yr wyf yn union yn selio eu damnedigaeth. Frodyr, a ydych chwi yn credu yn y fath beth â hyna? Nid wyf fi; etto y mae llawer o'r henuriaid braidd mor afresymol â hyny.

Yn Lloegr, yr wyf yn cofio danfon henuriad i Bristau, i agor drws yno, ac i weled os gwnai rhywun gredu. Yr oedd ganddo ychydig gyda deg milltir ar hugain i gerdded; efe a gychwynodd ymaith un boreu, ac a gyrhaeddodd Bristau; efe a bregethodd yr efengyl iddynt, ac a'u seliodd oll i ddamnedigaeth, ac yr oedd wedi dychwelyd yn ol boreu dranoeth. Yr oedd yn gystal dyn hefyd, ag oedd genym. Diffyg gwybodaeth a'i hachosodd i wneuthur felly. Yr wyf fi yn myned, ac yn pregethu wrth y bobl, ac yn dweyd wrthynt ar ddiwedd pob pregeth, Y neb a gredo, ac a fedyddier, a fydd cadwedig; a'r hwn ni chredo a gondemnir. Yr wyf yn parhau i bregethu yno ddydd ar ol dydd, wythnos ar ol wythnos, a mis ar ol mis, ac etto nid oes neb yn

credu fy nhystiolaeth, am a wn, ac nid wyf yn gweled unrhyw arwyddion o hyny. Chwi a ellwch ofyn, Pa beth a wnaf yn yr amgylchiad hwn, os danfonir fi i bregethu yno? Mae yn rhaid i chwi barhau pregethu yno, hyd nes y dywedo y sawl a'ch danfonodd am adael y maes llafur; ac os na amlyga y bobl trwy eu gweithredoedd, eu bod yn credu, cyhyd ag y deuant i'm gwrandaw, mi a barhaf i ymbilio â hwynt, hyd nes y plygo eu tueddiadau at yr efengyl.—Paham? Oblegid fod yn rhaid i mi fod yn amyneddgar tuag atynt, megys y mae yr Arglwydd yn amyneddgar tuag ataf fi; megys ag y mae yr Arglwydd yn drugarog tuag ataf fi, y byddaf finnau yn drugarog tuag at ereill; megys ag y parha efe i fod yn drugarog tuag ataf fi, mae yn rhaid i minnau, yn hir ymarhous, fod yn drugarog tuag at ereill—gan ddysgwyl yn amyneddgar, gyda phob dyfalwch, hyd nes y credo y bobl, ac hyd nes y parotoer hwynt i fod yn etifedion i deyrnas nefol, neu angylion i ddiafol.

Pan argraffwyd Llyfr Mormon gyntaf, daeth i'm dwylaw yn mhen dwy neu dair wythnos ar ol hyny. A gredais i, ar yr awgrymiad cyntaf yn ei gylch? Y dyn a'i dygodd i mi, a fynegodd yr un pethau; ebe ef, Dyma efengyl yr iachawdwriaeth; dadguddiad ag a ddygodd yr Arglwydd allan er gwaredigaeth Israel; yr efengyl ydyw: ac yn ol Iesu Grist a'i apostolion, rhaid i chwi gael eich bedyddio er maddeuant eich pechodau, neu ynte chwi a ddemnir. Attaliwch, meddwn innau. Yr oedd cochl fy nhraddodiau droswyf, i'r graddau hyny, a'm teimladau blaenorol wedi eu cydwau gymmaint â'm natur, nes yr oedd yn anmhosibl i mi weled dim; ac er fy mod wedi gweled, trwy ystod fy holl fywyd, mai traddodiadau y bobl oedd yr holl grefydd a feddent, etto yr oedd genyf gochl i'm hunan. Meddwn i, Aroswch dros ychydig; pa beth ydyw athrawiaeth y llyfr, a'r dadguddiadau a roddodd yr Arglwydd? Gadewch i mi eu hystyried yn fy nghalon; ac ar ol i mi wneuthur hyny, mi a gyfrifais mai fy hawl oedd cael gwybod droswyf fy hun, yn gystal ag unrhyw ddyn ar y ddaear.

Mi a chwiliais y mater yn astud am ddwy flynedd, cyn y gwnaethym i fyny fy meddwl i dderbyn y llyfr hwnw. Mi a wyddwn ei fod yn wir, yn gystal ag y gwyddwn y gallwn weled â'm llygaid, neu deimlo trwy gyffyrddiad fy mysedd, neu fod yn ymwybodol o amlygiad unrhyw synwyr. Oni bai ei fod fel hyn, ni fuaswn erioed wedi ei gofleidio hyd y dydd hwn; buasai i

gyd heb ffurf na phrydferthwch i mi. Yr oeddwn yn ewyllysio digon o amser i brofi pob peth droswyf fy hun.

Rhaid i efengyl Iesu Grist gael ei phregethu i'r holl genedloedd er tystiolaeth—er arwydd fod y dydd wedi dyfod, yr amser penodedig i'r Arglwydd waredu Seion, a chasglu Israel, yn barotoiadol i ddyfodiad Mab y Dyn. Pan bregethir yr efengyl hon i'r bobl, gwna rhai ei chredu, a bydd rhai na fyddant yn gwybod pa un a gredant hi ai peidio. Dyma yw sefyllfa y byd; ewch allan i blith y bobl; ewch i blith eich cymmydogion eich hunain, a chwi a ellwch ei weled; o herwydd fod yr Arglwydd wedi cyffwrdd â'ch dealltwriaeth chwi ag ysbryd y gwirionedd, y mae yn edrych i chwi fel pe gwnai yr holl fyd ei chredu, pe gallent ond yn unig glywed eich tystiolaeth chwi; yr ydych chwi yn myned ac yn pregethu iddynt, eithr, er eich syndod, y maent yn ymddangos yn hollol ddisylw o honoch; mae rhai yn myned i gysgu, ac y mae ereill yn breuddwydio am eu ffermydd a'u meddiannau.

Fe ddywed y Methodist wrthych, ei fod ef wedi cael yr efengyl o'i ieuenctyd, a'i ddwyn i fyny yn y gymdeithas Fethodistaidd; ac felly y gwna y Crynwr; ac felly y gwna y Presbyteriad; ac felly y gwna yr Ysgydwyr, canys hwy a ddywedant mai hwyntHwy yw yr unig bobl ag sydd yn parotoi erbyn y Milflwyddiant. Yr hyn sydd gyfraith yma, nid yw acw; a'r hyn nid yw acw, sydd yma. Mi a fum yn arferol â'r dull hwn o addoli, neu y dull hwna; ac yr wyf wedi clywed yr hen dôn ddaionus holl ddyddiau fy oes.

Daw y Methodistiaid yn mlaen, a dywedant, Chwi a ellwch gael eich bedyddio trwy dywallt, neu trwy daenellu, neu ddim oll, oblegid nid oes dim yn anhebgorol anghenrheidiol ynddo. Dyn arall a ddywed, Chwi a ellwch gyfranogi o Swper yr Arglwydd, os ewyllysiwch, neu ei gadael yn llonydd, oblegid nid oes anghenrheidrwydd am dani; os ydych yn meddu yr hen dôn ddaionus, y mae pob peth genych yn iawn.

Yn awr yr wyf yn gofyn cwestiwn: Pwy sydd a adwaen bethau yr Arglwydd; pwy a all adnabod y gwirionedd oddiwrth y cyfeiliornad? Pa le mae y dyn; pa le mae y bobl yn awr yn y byd a all ei wneyd? Nid ydynt mewn bodoliaeth. Gadewch i ddoethineb penaf y byd ddyfod i'w cynnorthwyo, ac nis gallant wybod pethau Duw. Gadewch i ddyn gael ei gynnysgaethu â

dadguddiadau Iesu Grist, ac efe a ddywed ar unwaith, Nis gallant ddywedyd, y mae yn anmhosibl. Gadewch i'r Barnwr cyfiawn swnio ei udgorn—pa beth a ddywedai efe? Mi a allaf ei ddarllen i chwi yn y llyfr hwn [gan osod ei law ar y Beibl].

Y mae Efe yn dosturiol tuag at holl weithredoedd ei ddwylaw: mae cynllun ei waredigaeth ef, a'i iachawdwriaeth, a'i drugaredd, yn estynedig allan i bawb; a'i fwriadau ef ydynt i gasglu, a dwyn ynghyd, ac achub holl drigolion y ddaear, gyda'r eithriad o'r rhai hyny a dderbyniasant yr Ysbryd Glân, ac a bechasant yn ei erbyn. Gyda'r eithriad hyn, caiff yr holl fyd ei achub. Ai nid hyn yw Cyffredinoliaeth? Y mae yn agos iawn ar ei chyffiniau.

Mi a bregethais ranau o athrawiaeth yr iachawdwriaeth i'r bobl, pan oeddwn yn teithio oddi cartref. Pan oeddwn yn cymmeryd i fyny y pwnc hwn, gwnai y Cyffredinolwyr redeg ar fy ol gannoedd o filltiroedd, gan ddywedyd, "Cyffredinolwyr ydym ni,—pa le yr ydych chwi yn byw? yr ydym ni yn cael ein blino gan y Methodistiaid, a'r amrywiol sectau; ai ni ddewch chwi i'w trin hwynt drosom ni; yr ydym ni am eu chwipio allan."

Dim ond rhanau a chyfranau o'r efengyl yr ydych yn glywed; ychydig yma ac ychydig acw, yn wasgaredig i gyd dros y byd. Yn awr bydded i galonau plant dynion gael eu goleuo; bydded iddynt gael eu deffroi, i ddeall bwriadau yr Arglwydd, yn iachawdwriaeth dyn, a pha beth fydd adsain eu lleisiau y naill i'r llall? Mi a ddywedaf wrthych pa beth fyddai teimlad pob calon; iachawdwriaeth, gogoniant, halelwia i Dduw ac i'r Oen, yn oes oesoedd. Paham? Oblegid ei aml drugareddau a'i dosturiaethau; oblegid fod ei ddoethineb wedi dyfeisio drosom ni, yr hyn na allem ddyfeisio drosom ein hunain.—Dyma yw yr hyn a wnelai yr holl greadigaeth.—(*I'w barhau*).

---

## DIWEDDAR O DDYFFRYN Y LLYN HALEN FAWR.

### DYFYNIADAU O LYTHYR ODDIWRTH Y LLYWYDD B. YOUNG.

[O'r "Star" am Chwef. 12, 1853.]

*Dinas y Llyn Halen Fawr, Hydref* 29, 1853.

ANWYL FRAWD,—Y mae ein hysgrifenydd newydd wedi cyrhaedd, a chyn belled â hyn ymddengys ei fod yn cael ei foddloni

yn y lle, ynghyd â phob peth yma. Mae un o'r barnwyr hefyd wedi cyrhaedd, sef Mr. Leonidas Shaver, eithr nid wyf fi etto wedi cael adnabyddiaeth o hono. Daeth y brawd Parley yma ar neu oddeutu y 15fed o'r mis hwn, o California, a dysgwylir y brodyr Lyman a Rich yn mhen oddeutu mis o'r amser hwn. Meddyliwyf fod y brawd Franklin yn parhau i'ch hysbysu chwi ynghylch pob peth perthynol i'w symudiadau ef, ynghyd â'ch achosion teuluaidd chwithau, yn gystal â materion ereill o ddyddordeb cyffredinol.

Mae y Brif-athrofa ar ol yn fawr; nid oes dim wedi ei wneuthur iddi er pan adawsoch chwi. Ymddengys weithiau megys pe na fyddai un anturiaeth tu allan i drysorfeydd cyhoeddus yr Eglwys, ag a allai lwyddo, er fod Neuadd y Deg-a-thrugain wedi cychwyn o'r newydd, ac nid oes ammheuaeth ynof nad â rhag ei blaen y tymmor sydd yn dyfod. Yr ydym yn adeiladu Neuadd Gyfeillachol, ac ystordai ychwanegol at wenith a phethau ereill. Mae amryw o dai da wedi eu hadeiladu y tymmor hwn, ac y mae ein dinas, yn gystal â'r wlad amgylchynol, yn parhau yn gyflym i wella.

Teimlwn ddymuniad brwdfrydig i gasglu y Saint tlodion o'r Ynysoedd Prydeinig, ac hyderwn na fydd yr amser yn hir cyn y gallwn ddwyn pawb oddiyno ag a ddymunant ddyfod. Yr ydym yn awr yn parotoi i ddechreu ein Teml; mae y mur oddiamgylch y Temple Block yn myned yn mlaen, ac y mae'r peirian-dŷ a'r peirianwaith at lifio mewn gweithrediad, fel y bydd hefyd y peiriant at lyfnu coed; a byddwn yn alluog i ddechreu ar y Deml yn y gwanwyn, mewn cymhariaeth yn rhydd oddiwrth ddyled, a gobeithiwn allu dwyn y gwaith yn mlaen yn fywiog, gan fod y gweithdai a llawer o bethau angheurheidiol at hyny yn barod yn ein meddiant.

Mae yn dda genym i glywed oddiwrth y brawd Willard Snow, trwy y "Star"; mae efe yn ddiau yn ysbryd ei genadiaeth, a bydd iddo wneyd yn dda. Byddai yn ddymunol danfon rhyw gynnorthwy iddo. Meddyliwyf pan gyrhaeddo yr holl Henuriaid yna, y bydd genych amlder o honynt, ac y gellwch hebgor rhai o honynt i'r rhan hono o'r winllan. Mae y gwaith yn Scandinavia yn dyfod yn ddyddorawl iawn, ac yr wyf yn meddwl gyda y brawd Snow, fod gan yr Arglwydd bobl yno. Yr wyf yn credu hefyd y bydd y brawd Snow yn lled debyg o'u hela allan.

Mae y brawd Hosea Stout ac ereill, fel y gwelwch wrth gofnodau y Gymmanfa, wedi eu penodi ar genadiaeth i China. Y maent wedi myned, yn gystal â'r holl frodyr a benodwyd i Awstralia, Calcutta, Siam, a'r Sandwich Islands. Ymadawsant oll oddeutu y 15fed o'r mis hwn, gan fyned y ffordd ddeheuol i Galiffornia, mewn ysbryd da, ac yn fawr eu ffydd i fod yn llwyddiannus yn y cenadiaethau a benodwyd iddynt.

Dysgwyliwn yr agorant faes llafur ag a fydd o fawr bwys, nid yn unig i ni, eithr i genedloedd y ddaear; canys credwn, fel yr agosha yr amser, y cyflyma yr Arglwydd ei waith, ac y cesglir y cenedloedd yn fuan i mewn i gorlan Crist. Mae y gwaith yn myned rhagddo, ac yn ymledaenu ac yn cynnyddu yn fawr iawn, a gofyna am gyflawnder cyferbyniol o ddynion a phethau ereill, ynghyd ag ymeangiad meddwl, bywiogrwydd, gallu, a dyfalwch. Yr Arglwydd ein Duw yw ein nerth, o dan yr ychwanegiad hwn o ofal a gwaith, ac efe hyd yma sydd wedi cyfranu grâs a nerth i ni yn ol ein dydd a'n cenedlaeth, sydd wedi ein cynnal yn mhob tymmor o galedi, ac sydd wedi ein cadw a'n gwaredu o ddwylaw ein gelynion. Bendigedig yn dragywydd fyddo ei enw santaidd; mawr a rhyfedd yw ei ffyrdd; ac anfeidrol yw ei allu. Gwrandawed yr holl genedloedd ar ei weision, oblegid y maent hwy yn parotoi ffordd ei ddyfodiad Ef; ie, pan ddaw efe mewn nerth a gogoniant mawr, i gymmeryd teyrnas iddo ei hun, yr hon a barotoir yn amser cyfaddas yr Arglwydd; canys gwaith yr Arglwydd ydyw hwn; a gwae yr hwn a osodo ei law, er ddylanwad, ei egni, neu ryw rai o'i alluoedd i'w wrthwynebu.

Mae fy nghalon yn gwir lawenhau yn lledaeniad yr Efengyl yn yr Ynysoedd Prydeinig, a'r gafael ag y mae wedi gael yn y gwledydd cyfagos o Ewrop. Mae yr had wedi ei hau; mae y gair wedi myned allan, ac ni ddychwela yn wag, hyd oni chyflawner y cwbl oll. Tra y mae'r Arglwydd fel hyn yn gweithio ar y ddaear trwy allu ei nerth, mae yn gweddu i ni, sef ei holl Saint, i fyned â'n holl allu, meddwl, a nerth, i wneyd yr hyn a allwn er hwylysu ei achos, er gwaredu yr onest ei galon o dan wialen y gorthrymwr, a rhyddhau y caeth, fel y casgler Israel o blith y cenedloedd yn mhlith pa rai y gwasgarwyd hwynt, y gwareder Seion, ac y sefydler ac yr adeilader teyrnas ein Harglwydd, fel nad ddadymchweler hi byth mwy. Felly y cyflawnwn fesur ein creadigaeth, ac y treuliwn ein dyddiau mewn

defnyddioldeb; fel, pan fyddom wedi gweithredu cyfiawnder ar y ddaear, y caffom lawenydd yn y gwaith a gyflawnasom, ac y byddom barod i dderbyn ein dyrchafiad yn mhlith y dyrfa a olchwyd mewn gwaed, sef y rhai santeiddiedig, a meibion Duw, fel ag i fod yn Freninoedd ac yn Offeiriaid i'w enw santaidd yn dragywydd.

Frawd Samuel, hyn a fyddo ein tynghed ddedwydd ni; a boed i'n gweddiau a'n herfyniadau ni gyd-ddyrchafu at ein Tad yn y nefoedd, ar iddo ganiatâu i ni ei Ysbryd daionus, fel y trigo yn helaeth o'n mewn ac arnom, fel y gallom gael ein llwyr ddiwallu â doethineb i gyflawni pob dyledswydd ag sydd neu a fydd yn gorphwys arnom.

Gan weddio ar Dduw fy Nhad Nefol, i fod yn wastadol ar eich rhan, ac ar ran yr holl Saint ffyddlawn, y gorphwysaf,

Eich brawd yn Efengyl Crist,

Brigham Young.

At yr Henuriad S. W. Richards.

---

## Y GAIR DOETHINEB.

Er ein bod wedi ysgrifenu yn helaeth ar y pen hwn, ac wedi meddwl ein bod wedi ysgrifenu digon am dro, etto fe ymddengys fod rhai am wybod ychydig yn rhagor, fel y gwelir wrth y llythyr canlynol a yrwyd atom:—

"Mr. Gol.,—Y mae un peth yn fy mlino, a rhai ereill o'm brodyr, er ys tro bellach; ac o ba herwydd yr ydwyf yn ei anfon atoch yn ofyniad; h. y., A oes rhyw bwys mewn cadw y Gair Doethineb? Os oes, pa faint o bwys sydd, neu o golled i'r esgeuluswr? Ateb buan o hyn a foddha amryw heblaw fy hunan.

Yr eiddoch yn ddiffuant,

J. Richards."

Yn awr ymdrechwn ateb gofyniadau ein gohebydd yn y dull egluraf a allwn, gan obeithio y rhoddwn foddlonrwydd.

Y gofyniad cyntaf yw, "A oes rhyw bwys mewn cadw y Gair Doethineb?" Oes, oblegid mai yr Arglwydd sydd wedi ei roddi; ac nid yw yr Arglwydd yn rhoddi dim mewn ffordd o ddadguddiad, heb fod rhyw bwys ynglŷn ag ef. Darllener y Gair Doethineb, yn nhud, 217 o'r Athrawiaeth a Chyfammodau, lle y gwelir mai "ewyllys Duw yn iachawdwriaeth dymmorol pob Saint yn y

dyddiau diweddaf" ydyw y Gair Doethineb. Os yw Duw yn ewyllysio i ni wneuthur rhywbeth, y mae o bwys i ni wneuthur y peth hwnw, a pheidio ei esgeuluso.

Y gofyniad arall yw, "Os oes, pa faint o bwys sydd, neu o golled i'r esgeuluswr?" Pan fygythiai y Llywydd Young i ysgymuno y sawl na chadwent y Gair Doethineb, er ys ychydig o amser yn ol, yr oeddem yn meddwl y buasai o'r pwys mwyaf i bob Sant i gadw y Gair Doethineb, ac nas gallai neb gael iachawdwriaeth heb ei gadw. Ond mae yn debyg na chariwyd y bygythiad hwnw i weithrediad; a thrwy hyny y mae'r Gair Doethineb yn cael ei adael i'w ufyddhau fel cynghor, megys ag y rhoddwyd ef ar y cyntaf, ac nid fel gorchymyn. Ond er fod pob un at ei ryddid i'w gadw neu beidio, etto nis gall y rhai nad ydynt yn ei gadw, ddysgwyl y bendithion a addewir i'r rhai a'i cadwant; ac o ganlyniad, mae yn sicr y bydd eu hiachawdwriaeth dymmorol hwy yn llai nag eiddo y rhai sydd yn ei gadw. Os mŷn neb "iachawdwriaeth drwyadl," fel y dywedasom unwaith o'r blaen, mae yn rhaid i'r cyfryw gadw y Gair Doethineb; onide nid oes addewid y "derbyniant iechyd yn eu bogail, a mér i'w hesgyrn," nac y cânt "afael mewn doethineb a thrysorau mawrion o wybodaeth, sef trysorau cuddiedig; nac y cânt redeg heb ddiffygio, a rhodio heb lewygu," nac y cant "addewid y bydd i'r angel dinystriol fyned heibio iddynt, heb eu lladd hwynt." Fe welir wrth hyn, ynte, pa faint yw'r pwys a'r golled o beidio cadw y Gair Doethineb. Fe ddichon fod llawer o ddynion rhagorach nâ ni mewn llawer o bethau, yn dewis peidio ei gadw; eithr nid ydym ni yn eu cymmeryd hwy yn siampl yn hyn, nac ychwaith yn faen tramgwydd; canys y maent hwy a ninnau at ein rhyddid i ddewis yr iachawdwriaeth a fynom. Buasem yn ffol i ddigio wrth neb a ddewisai iachawdwriaeth ysbrydol yn unig, tra y mae rhyddid i ni gael un dymmorol ac ysbrydol. Am hyny, myfyriwn y Gair Doethineb, ac na fyddwn mwyach yn blantos.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

---

Y MAE pob dyn a ddanfono lythyr at arall heb ei enw wrtho, yn cywilyddio arddel ei hun, ynghyd â'i egwyddorion.

GWNEWCH y goreu o fargen ddrwg, a dysgwch fod yn gallach.

DYWED Golygydd y *Star* fod yr Wythfed Epistol Cyffredinol, ynghyd â Chofnodion Cymmanfa mis Hydref, yn Ninas y Llyn Halen Fawr, heb gyrhaedd etto, a bod y llythyron a dderbyniodd wedi bod fis yn hwy nâ'u hamser. Dichon fod yr eira ar y mynyddau, neu yr iâ ar yr afonydd, wedi peri rhwystr; eithr y mae yn beth hynod fod y newyddiaduron heb gyrhaedd. Etto, y mae pob peth yn heddychol a llwyddiannus yn y Dyffryn, fel y gwelir wrth lythyr y Llywydd Brigham Young yn y rhifyn hwn.

O BLAID PWY MAE'R GWYNT?—Dros ychydig wythnosau cyn a chwedi Nadolig, yr oedd y gwynt y rhan fynychaf yn chwythu yn gryf, ac weithiau yn angherddol, o'r môr, fel nas gallai ond ychydig o longau fyned allan o Liverpool, a gorfu ar rai o honynt ddychwelyd wedi eu niweidio. Yn awr y rheswm o hyn oedd, fod gan yr Arglwydd oddeutu trugain o Henuriaid yr amser hwnw yn mordeithio tuag yma o America, ar genadiaethau ta wahanol genedloedd yr hen fyd; a darfu i rai o honynt groesi y môr yn hynod gyflym, gan fod y gwynt yn hollol o'u tu. Fel hyn y mae'r elfenau yn ufyddhau i hwylysu amcanion yr Arglwydd. Mae yr Henuriaid yn awr wedi cyrhaedd, ac y mae'r gwynt wedi troi, canys y mae eisieu myned â channoedd o Saint drosodd i Seion. Molwch yr Arglwydd!—*Star.*

MAE llong arall, o'r enw Golconda, wedi hwylio o Liverpool, yn cynnwys 321 o Saint Seisnig, dan lywyddiaeth yr Henuriad Gates.

PERFFEITHRWYDD athronyddiaeth, yn naturiol a moesol, yw i ddyn adnabod ei hun; a pherffeithrwydd y wybodaeth hono, yw adnabod Duw.

### EMYN.

Mae gweision yr Iesu yn awr yn cyhoeddi
'R efengyl dragwyddol i bawb trwy'r holl fyd,
Fel gallont trwy gredu, ac ufyddhau iddi,
I gael eu gwaredu a'u casglu ynghyd
I Seion, le dedwydd, i gwrdd â'u Gwaredydd,
A chael eu haddysgu 'nol cynghor y Pen,
Yn nheml yr Arglwydd, lle triga santeiddrwydd,
A gweled yr Iesu dros byth yn ddi-lèn.

*Aberamman.* J. EDMONDS.

---

TALIADAU o ION. 28 HYD CHWEF. 3—Pontytypridd, 6s; Aberamman, £1; Hirwaen, 5s 6c; Merthyr, £1 4s; Cefn, 8s 6c; Ffynnon-Tydfil, 2s 9c; Troedyrhiw, 3s; Georgetown, 4s.—Cyfanswm, £3 13s 9c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 7.] CHWEFROR 12, 1853. [CYF. V.

## WYTHFED EPISTOL CYFFREDINOL LLYWYDDIAETH EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

*O Ddinas y Llyn Halen Fawr, at y Saint gwasgaredig ar hyd y ddaear, yn anerch:—*

ANWYL FRODYR,—Y mae pob tymmor adnewyddol yn dwyn golygfeydd a gwrthddrychau newyddion i'n myfyrdod, ynghyd â thrugareddau a bendithion lliosog, er galw allan am fawl a diolchgarwch i'n Tad nefol, yr hwn sydd yn achosi i oleuni Efengyl ei anwyl Fab i lewyrchu yn mhellach pellach, a chyda mwy o ddysclaerdeb, o ddydd i ddydd, hyd nes yn bresennol y mae pedwar ban y ddaear, ac ynysoedd y môr, yn dechreu ymheulio yn haul-lewyrch tragywyddol wirionedd; ac y mae sain hyfryd iachawdwriaeth yn dechreu cael ei chlywed gan liaws o'r cenedloedd; ac y mae Israel yn dyfod adref yn lluoedd, megys colomenod i'w ffenestri.

Oddiar ein Hepistol diweddaf, ar y 18fed o Ebrill, y mae Duw Abraham wedi bendithio ei Saint yn y Dyffryn; mae y nefoedd wedi bod yn ffafriol yn eu tymmorau, a'r ddaear wedi cynnyrchu yn helaethlawn; ac er i ni gael ia tair rhan o bedair o fodfedd o drwch ar yr 22ain, a'r ddaear wedi ei gorchuddio gan eira ar y 23ain, ac yn bwrw eira a chesair ar y 24ain o Ebrill, a'r ddaear yn wŷn gan eira ar yr ail o Fai, ac amryw gawodydd ysgafn o genllysg, ac un lled erwin ar y 13eg o Orphenaf; etto cafodd

cawodydd o wlaw, yn ganlynedig gan daranau a mellt, eu lliosogi tuhwnt i unrhyw dymmor blaenorol, y rhai a arbedasant lawer o waith dyfrhau; mae y dyddiau a'r nosweithiau wedi bod yn dwymn, a thyfiant llysiau yn anarferol o gyflym, ac y mae'r ŷd a'r llysiau wedi eu cynnyrchu mewn cyflawnder, ac y mae *peaches* a *grapes*, o fath tra rhagorol, wedi cyflawn aeddfedu.

Ar y 27ain o Orphenaf, yr oedd yr hin-fesurydd yn 127 gradd; ar yr 28ain a'r 29ain, 114 gradd yn yr haul, a 94 gradd yn ein hystafell oeraf; ac etto yr oedd yr awelon adfywiol o'r mynydd-oedd a'r Llyn Halen Fawr, yn galluogi y llafurwr i barhau ei waith; ac yr oedd yr ymddangosiadau goruchaidd yn yr wybren, wedi ychwanegu harddwch ac ardderchogrwydd at fywyd yn y mynyddoedd. Yr eira cyntaf, yn yr hydref hwn, a syrthiodd ar y mynydd uchelaf, lle yr oedd hen eira wedi bod yn gorwedd trwy yr haf, ar y 15fed o Fedi; a'r rhew cyntaf, i niweidio gwinwydd yn y ddinas, a fu ar y 26ain o Fedi.

O'r 22ain o Ebrill, hyd yr 21ain o Fai, nyni a dreuliasom ein hamser, yn nghwmniaeth amryw beirianwyr, ac oddeutu hanner cant o'r brodyr, i ymweled â'r holl sefydliadau deheuol i hwn, yn y Diriogaeth, a llawer o leoedd ag na ymwelwyd â hwynt o'r blaen; ac mewn dysgu, cysuro, a bendithio y Saint, gan ddewis lleoedd newyddion at ymsefydlu, gwneyd adnabyddiaeth â'r Indiaid, ac ymdrechu meithrin heddwch rhwng eu gwahanol lwythau; a thrwy fendith y nef, cyflawnasom yr hyn oll a allem yn rhesymol ei ddysgwyl; ac yr ydym wedi hyny wedi ymweled â Provo a Changenau ereill o'r Eglwys.

Y mae llai o gynhwrf a gwrthryfel wedi bod yn mhlith yr Indiaid nag yn ystod tymmorau blaenorol; mae rhai yn dechreu gwybod gwerth bara, ac yn foddlawn gweithio rhan o'u hamser, a dysgu y ffordd i weithio er cynnyrchu ŷd iddynt eu hunain; ac yr ydym ni yn annog yr holl sefydliadau i feithrin yr ysbryd hwn, a dysgu yr Indiaid i gynnyrchu ŷd, a byw trwy eu llafur, yn hytrach nâ lladrata, newynu, neu fyw trwy gardota, gan fod yr helwriaeth yn brin ar eu tir hela.

Darfu i benaethiaid a gwroniaid yr Utiaid, a'r Shoshone neu'r Snake Indians, y rhai a fuont yn hir mewn amrafael, gyfarfod yn y ddinas hon, ar y 4ydd o Fedi, a gwnaethant gyfammod o heddwch, heddwch parhaus, neu "*heddwch da*," fel y dywedant hwy, yn mhresennoldeb y Llywodraethwr a'r goruchwyliwr Indiaidd;

ac y mae'r ymddangosiad presennol yn arwydd o heddwch yn mhlith yr Indiaid yn gyffredinol yn y parth hwn.

Y mae cryn gynnydd wedi ei wneyd mewn cyffeithu lledr, peirian-waith at wneyd hoelion, gweithfa haiarn, crochendai, a phethau ereill o gynnyrch teuluaidd; er fod cynnorthwy wedi bod mor brin y tymmor hwn, fel yr oedd yn angenrheidiol i aberthu rhan fawr o hono er cynnyrchu ŷd, er cyfarfod galwad yr ymfudiad mawr ag oedd yn myned trwy y lle i Galiffornia, a dyfodiad oddeutu 10,000 o Saint i mewn yma, y rhai ydynt wedi cyrhaedd, neu dysgwylir yr olaf o honynt yr wythnos hon; ac y mae'r rhan fwyaf o honynt yn ymwasgaru trwy y Diriogaeth, gan gryfhau y sefydliadau gwanaf, a ffurfio rhai newyddion, ac agor ffermydd i gynnyrchu yr holl ŷd a allont, gogyfer â'r Saint a ymfudant y tymmor dyfodol.

Mae y gwlan a gynnyrchwyd yn y dyffryn wedi cael ei weithio yn ddefnyddiau at wasanaeth teuluaidd, y rhan fwyaf trwy ddiwydrwydd teuluaidd; yn gystal â phob math arall o gynnyrch a ellid ei wneyd heb lawer o beirianwaith; er fod gweithfeydd a melinau a pheiriannau o bob math at arbed gwaith wedi derbyn pob sylw a ellid ei roddi iddynt, yr oll o ba rai a dderbyniant gyffroad adnewyddol, ar ol sicrhau y cynauaf hwn.

Cafodd perchyll o haiarn, o'r ffwrnais yn swydd Haiarn, ei ddangos yn Nghymmanfa mis Hydref, gystal ag y gellid ei ddysgwyl y tro cyntaf; ac o'r pryd hwn allan caiff y toddwyr eu rhyddhau oddiwrth ffermio at gynnal eu hunain, a chant gynnorthwy arall ag y mae anghen am dano er dwyn yn mlaen eu gwaith; ac yn fuan dysgwyliwn gyflawnder o nwyddau haiarn, o wneuthuriad cartrefol. Mae darnau o lo wedi eu cael mewn amryw gilfachau a *kanyons*; a dysgwyliwn gael pyllau yn fuan at ddefnydd cyffredin. Mae gwely helaeth a gwerthfawr o frwmstan wedi cael ei ddarganfod, ynghyd â meini a mynor o natur rhagorol; a thalir pob sylw i ddarganfyddiadau o'r pethau hyny a fyddant yn fwyaf defnyddiol, cyn belled ag y byddo amser a phethau ereill yn caniatau.

Mae y Saint yn y Dyffryn yn teimlo yn dda, yn gwneuthur yn dda, yn gorfoleddu yn Nuw, yn ddiwyd gyda eu goruchwylion, yn llwyddo yn fawr yn mhob anturiaeth gyfreithlawn, ac yn dyfod yn fwy ffyddlawn i gadw gorchymynion Duw, talu eu degwm, ac adeiladu y Deyrnas bob blwyddyn. Mae y mur cerig

oddiamgylch y Temple Block, wedi ei ddechreu er y 3ydd o Awst; ac os bydd yr hydref a'r gauaf mor ffafriol â'r rhai diweddaf, digon tebyg y cwblheir hi cyn y gwanwyn, yn barod i'r *bricks* neu'r *adobies* ag sydd i fod yn uchaf. Mae arian yn brin, er eu bod yn fwy aml nag yr oeddynt, a pharhant i amlhau yn ol fel yr amlhao gwaith teuluaidd. Nid ym yn cloddio am aur neu arian, eithr yn ymddibynu ar ein cyfeillion i'w cloddio drosom, tra yr ydym ninnau yn cloddio am drysorau rhagorach.

Mae y Tŷ Taleithiol, yn ninas Fillmore, yn myned yn y blaen, ac y mae swydd Millard yn cael ei phoblogi yn gyflym. Mae grym yr ymfudiad yn ddeheuol, a daw dinas Fillmore, yn fuan, yn ganol-bwynt busnes. Mae yr achosion Tiriogaethol i gyd yn heddychlawn yma; ac o ran dim a wyddom ni, yn eisteddle y Lywodraeth Gyffredinol hefyd. Mae cyfreithiau y deddfwyr diweddaf wedi eu cyhoeddi, er nad ymddangosa fod fawr o'u heisieu, canys mae y bobl yn gyffredin yn cael eu tueddu i weithredu yn iawn; ac nid oes ond ychydig neu ddim o achosion cyfreithiol gerbron y llysoedd adranol neu lysoedd yr ustusiaid; ac yr oedd hyd y nod y lliaws ymfudwyr a aethant trwy y lle hwn i Galiffornia, wedi ymddwyn yn llawer mwy boneddigaidd, ac wedi rhoi llawer llai o drafferth i'n llysoedd nag mewn tymmorau blaenorol. Oddiwrth y dyddiadau goreu sydd genym yn awr, cyfrifir fod yn awr dros 30,000 o drigolion yn y Diriogaeth.

Dychwelodd yr Henuriad Ezra T. Benson a Jedediah M. Grant er y 1leg o Awst, o'u cenadiaeth i Pottawatomie, yr hwn le a adawsant braidd wedi ei lwyr waghau o Saint, y rhai ydynt yn awr yn y Dyffryn; llawer o ba rai oeddynt wedi ymbarotoi i ddyfod dros y gwastadedd, gyda llaw-geirt, a *wheel-barrows*, eithr pan welodd yr Arglwydd eu bod yn benderfynol i ddyfod adref yn ngwyneb pob peth, efe a agorodd y ffordd iddynt gael wageni a gweddeuau, hyd y nod i'r teulu olaf ag oedd am ddyfod; ac felly y parha i fod gyda'r Saint a benderfynant ddyfod adref i Seion yn unol â chynghor.

Yr oedd y Saint yn ddiweddar yn eu hymfudiad y flwyddyn hon, ac am y bythefnos neu'r tair wythnos ddiweddaf, yr oeddynt wedi dyoddef yn achlysurol oddiwrth ystormydd eira yn y mynyddoedd, yr hyn a rwystrodd eu mynediad, ac a'u helpodd i fod yn brin o ymborth; eithr fe aeth oddeutu dau cant neu ragor o weddeuau a wageni o'r Dyffryn i'w cynnorthwyo, gan gymmer-

yd i'r gwahanolwersylloedd oddeutu deugain neu hanner can mil o bwysi o flawd, a chyflawnder mawr o bethau ereill, yr hyn a'u galluogodd i ddyfod mewn diogelwch.

Yr Henuriaid John Taylor, Erastus Snow, a Franklin D. Richards, a gyrhaeddasant hefyd ar yr 11eg o Awst, ar ddychweliad o'u cenadiaethau i Ewrop; dygodd yr Henuriad Taylor beirian-waith at weithfa siwgr helaeth, yr hwn y mae efe yn ei osod i fyny yn Provo, swydd Utah; a dygodd yr Henuriad Richards ddwy glôb fawr, yn dair troedfedd bob un, er eu hanrhegu i Brif-athrofa Deseret.

Mae Llyfr Mormon yn awr yn argraffedig yn y Saesneg, y Gymraeg, y Ffrengaeg, yr Ellmynaeg, y Danaeg, a'r Italaeg; ac y mae parotoiadau yn cael eu gwneyd er ei gyfieithu a'i gyhoeddi yn y Chiniaeg, y Burmaeg, yr Yspaenaeg, ac ieithoedd ereill.

Cannaliwyd Cymmanfa Neillduol o'r Henuriaid, yn y Tabernacl, ar yr 28ain a'r 29ain o Awst, yr hwn a orlenwyd, ac yr oedd yr ysbryd mwyaf bywiog trwy y cyfan; a chafodd amryw Henuriaid eu dewis a'u neillduo i'w gwahanol genadiaethau fel y canlyn:—

EWROP.—*Lloegr*—Daniel Spencer, Charles A. Harper, Isaac Allred, John Van Cott, Mellen Atwood, Chancey G. Webb, Charles Smith, Sylvester H. Earl, David Grant, Thomas W. Treat, Benjamin Brown, James T. Park, Perrygrine Sessions, Osmyn M. Duel, John A. Hunt, James Pace, William Burgess, ieu., Levi Nickerson, William Glover, Edward Martin, Levi E. Riter, John S. Fullmer, Richard Cook, John Oakley, William Clayton, William Pitt, John C. Hall, William Woodward, James G. Willie, Daniel D. McArthur, Moses Thurston, John Perry, William Empy, Spicer Crandell, John Mayer, Elias Gardner, Noah T. Guyman.

*Iwerddon*—Daniel Toner, John McDonald.

*Cymry*—Dan Jones, Daniel Daniels, Thomas Jeremy.

*Ffrainc*—Andrew L. Lamoreaux.

*Germany*—George Mayer, George C. Riser, Jacob F. Secrist, William Taylor.

*Berlin*—Orson Spencer, Jacob Houtz, Moses Clough.

*Norway*—Eric G. M. Hogan, Canute Peterson.

*Denmark*—George Piersey.

*Gibralter*—Edward Stevenson, Nathaniel T. Porter.

ASIA.—*Hindoostan*—Nathaniel V. Jones, Amos M. Musser, William Fotheringham, Samuel A. Woolley, William F. Carter, Richard Ballantyne, Truman Leonard, Robert Owen, Robert Skelton.

*Siam*—Chancey W. West, Sterne Hotchkiss.

*China*—Hosea Stout, James Lewis, Chapman Duncan.

AFFRICA.—*Cape of Good Hope*—Jesse Haven, Leonard I. Smith, William Walker.

AMERICA, &c.—*Nova Scotia and British Provinces*—John Robinson, Benjamin T. Mitchell, O. D. L. Buckland, Joseph Miller.

*West Indies*—Jesse Turpin, Alfred B. Lambson, Darwin Richardson, Aaron Farr.

*British Guiana*—James Brown, Elijah Thomas.

*Texas*—Preston Thomas, William Camp, Washington Jolly.

*New Orleans*—John Brown.

*St. Louis*—Horace S. Eldridge.

*Iowa*—Daniel Miller.

*Dinas Washington*—Orson Pratt.

AWSTRALIA—Augustus Farnham, Josiah W. Fleming, John Hyde, Paul Smith, Burr Frost, James Graham, William Hyde, John S. Eldridge, Absolom P. Dowdle.

*Ynysoedd Sandwich.*—William McBride, Ephraim Green, Edgerton Snyder, James Lawson, Thomas Kairnes, Nathan Tanner, Reddick N. Allred, Reddin A. Allred, Benjamin F. Johnson.

Darfu i oddeutu pedwar ar-ddeg a thrugain o'r Henuriaid hyny, y rhai oeddynt â'u cenadiaethau i'r cyfandir Dwyreiniol, a'r rhai o'r talaethiau Prydeinig, ymadael oddeutu y 15fed o Fedi, gan deithio ar hyd ffordd y South Pass, ac afon Missouri, yn nghwmpeini yr Henuriad Orson Pratt, o Gorwm y Deuddeg, yr hwn a benodwyd yn yr un Gymmanfa, ar genadiaeth i ddinas Washington, ac i lywyddu ar y Saint yn yr Unol Daleithiau, a'r Taleithiau Prydeinig yn Ngogledd America. Mae y Llywydd Orson Hyde wedi cyrhaedd, gyda'i deulu, o Pottawatomie, ar yr 21ain o Fedi. Mae yr Henuriad Parley P. Pratt o fewn y Diriogaeth, ar ei ffordd o Chili, Deau America, a dysgwylir ef yma yn fuan. Mae yr Henuriaid Amasa Lyman a Charles C. Rich yn San Bernardino, ac yn bwriadu ymadael ar y 1af o Dachwedd, a bod yn y lle hwn ar y 1af o Ragfyr. Cyrhaeddodd yr Henuriad Lorenzo Snow ychydig ddyddiau yn ol o Malta. Mae yr Henuriaid Wilford Woodruff a George A. Smith yn y Dyffryn, lle y dysgwylir y treulia yr oll o'r Deuddeg Apostol y gauaf, oddieithr Orson Pratt.

Ar y 3ydd o Awst, cyrhaeddodd yr Esgob Abraham O. Smoot gydag unarddeg ar hugain o wageni, ac oddeutu dau cant a deg a deugain o Saint; y cwmpeini cyntaf a ymfudodd o Loegr,

trwy y Drysorfa Ymfudol Barhaus; a chafodd eu dyfodiad ei roesawi gyda'r mynegiadau mwyaf o lawenydd gan y Saint yn y Dyffryn, a'i ateb yn galonog gan y Gwersyll. Mae trysorfeydd y Cwmpeini Ymfudol yn ddiogel, mewn stock, wageni, &c.; eithr gwna prinder arian rwystro y Cwmpeini rhag rhoddi y cynnorthwy hwnw i'r rhai pellenig, y Gwanwyn dyfodol, ag a allem ddymuno; eithr na fydded i neb laesu eu hymdrechiadau dros y Cwmpeini, a mwy fyth fydd yr help pan y delo.

Chwech o'r Henuriaid a benodwyd ar genadiaeth i Ewrop yn y Gymmanfa yn mis Ebrill, a gychwynasant ar y 4ydd o Fai, sef, John C. Armstrong, T. Margetts, J. Darling, George Fenn, T. B. Broderick, a John Barker; a dau yn ychwaneg, y rhai a ganiatäwyd i aros hyd yr hydref, a aethant yn nghwmniaeth y genadiaeth ddiweddar.

Yr Henuriaid hyny a benodwyd ar genadiaethau tramor yn Nghymmanfa mis Awst, ac nid aethant yn ddwyreiniol, a ddysgwylir i gychwyn ar hyd y ffordd ddeheuol i Galiffornia, ar ddydd Llun nesaf, Hydref 18, ac hwylio o San Francisco.

Dechreuodd Cymmanfa mis Hydref ar ddydd Mercher, y 6fed o'r mis hwn, a therfynodd ar y Sul canlynol. Yn ystod yr holl amser, cafodd y Tabernacl ei orlenwi, a chafodd y rhan fwyaf o'r amser ei dreulio i bregethu, dysgu, annog, ymprydio, gweddio, moli, a diolch, a gweinyddu y sacrament; ac am ran o'r amser, cafwyd pregethu yn ychwanegol y tu allan, er mwyn y lliaws na allent gael lle yn y tŷ.

Penodwyd yr Henuriaid Elam Luddington a Levi Savage, ieu., ar genadiaethau i Siam, yn lle Sterne Hotchkiss a Harlow Redfield, y rhai ydynt yn aros gartref. Y Brif-Lywyddiaeth, y Deuddeg Apostol, a swyddogion y gwahanol gorwmau, a gymmeradwywyd yn eu gwahanol alwedigaethau, yn ol rheoleiddiad blaenorol, trwy bleidlais unfrydol y Gymmanfa, yr hon a bleidleisiodd hefyd i ddechreu y Deml y Gwanwyn nesaf.

Mae newyddion cysurlawn oddiwrth yr holl amrywiol genadiaethau ar y ddaear; mae lluoedd yn credu ac yn cael eu bedyddio er maddeuant; tra y mae y rhai drygionus yn gwrthwynebu; ac mewn rhai lleoedd, yn erlid y Saint, yn dinystrio eu heiddo, eu gyru o'u cartref-leoedd, ac yn cyhoeddi pob math o anwireddau am danynt. Gadewch i'r rhai drygionus amrafaelio â'r rhai

drygionus; a thra y byddont hwy yn amrafaelio, bydded i'r Henuriaid bregethu yr Efengyl i'r rhai hyny a gredant, fel na chaffo y gwaith ei rwystro; a lle na allo y Saint fyw mewn heddwch, ac addoli Duw yn ol cyfarwyddiadau cydwybodau eu hunain, y rhai a oleuir gan ysbryd y gwirionedd a dadguddiadau Iesu Grist, gallant ei dderbyn fel arwydd ei fod yn bryd iddynt gyfodi a ffoi i Seion; i ddyfod adref, i ddyfod i wlad yn mhlith y bryniau tragywyddol, yr hon ni chwennychir gan neb, ond y Saint; a chanddynt hwy, fel y trigont mewn heddwch, ac y mwynhaont grefydd y nefoedd, a daioni eu llafur.

Mae y gwahoddiad i bawb, i bob cenedl, llwyth, ac iaith, ag a gredant, a edifarhant, ac a fedyddier, ac a dderbyniant ddawn yr Ysbryd Glân, trwy osodiad dwylaw—Deuwch adref; deuwch i wlad Joseph, i ddyffrynoedd Ephraim; gan deithio megys y cyfarwyddir chwi gan Lywyddiaeth yr Eglwys yn y genedl yn mhlith pa un yr ydych. Y rhai hyny ag ydynt yn gyfarwydd ag hinsawdd twymn, ac sydd yn cael y cyfleusdra, a allant deithio i Califfornia, a chymmeryd cynghor gan y Llywyddiaeth yn San Bernardino; a chaiff y cyfryw eu hunain yn agosach adref, os tiriant yn San Diego. Y rhai hyny drachefn ag ydynt yn gyfarwydd ag hinsawdd oer, a allant deithio trwy New Orleans, lle y cant yr Henuriad John Brown, yr hwn a ddanfonasom ni i gynghori y Saint ar eu dyfodiad; hefyd, yr Henuriad Horace S. Eldredge, yn St. Louis; a'r Henuriad Henry Miller yn Pattawatomie.

Dewch i fyny i adeiladu tŷ yr Arglwydd, O chwi Saint, o bedwar cŵr y ddaear; canys fel y casgla iar ei chywion, y mŷn yr Arglwydd Iesu Grist eich casglu chwi yn y dyddiau diweddaf hyn; ac yn awr yw yr amser i chwi ddyfod, tra y mae cenedloedd y ddaear mewn heddwch, a llawndid yn gordoi y tir. Nis gwyddoch pa mor fuan y caiff eich ffordd ei chau gan y cleddyf, neu ei rhwystro gan law newyn; canys dywedai yr Iachawdwr, tra yma ar y ddaear, y byddai rhyfeloedd a newyn, ie, tywalltiad gwaed a darfodedigaeth ar wyneb yr holl ddaear; eithr nis creda y cenedloedd hyny hyd nes y delo arnynt.

Gwrandewch ar lais eich athrawon; gwrandewch ar gynghor Henuriaid Israel, y rhai a ddanfonwn atoch; canys yn gymmaint ag mai hwn yn ddiau yw gwaith yr Arglwydd, â pha un yr ydych yn ymwneyd, chwi a gewch eu geiriau yn llusern i'ch traed ac yn

llewyrch i'ch llwybr, a'r Ysbryd Glân a breswylia gyda y rhai hyny a fyddant byw yn unol â'u hyfforddiadau; ac hyderwn na fydd genym i ddywedyd wrthych chwi, fel yr Apostol gynt wrth y Saint, "Y mae i chwi feistri lawer, eithr ychydig o dadau." O chwi Henuriaid Israel, byddwch yn dadau i deulu y ffydd. Chwi fugeiliaid Israel, porthwch ddïadell Duw; a cheisiwch wneyd ei ewyllys ef, ac nid eiddo eich hunain, yn mhob peth; a dysgwch y Saint i fod yn ddarostyngedig i'r awdurdodau ag sydd, pa le bynag y byddont.

Bydded i'r Saint cyfoethog gasglu y tlodion, a'u cynnorthwyo i fyned adref; a bydded i'r tlodion roddi eu hymrwymiadau i ad-dalu yr unrhyw mor fuan ag y cyrhaeddont adref ac y caffont fodd; a bydded iddynt helpu eu hunain hyd eithaf eu gallu, a pheidio ymddibynu ar y cyfoethog. Pe byddai yr holl Saint mewn unrhyw deyrnas, neu gangen o'r Eglwys, mor bryderus am danynt eu hunain ag y mae yr Iesu am danynt hwy; a phe byddent oll yn unol mewn ffydd a moddion megys calon un dyn, hwy a gaent ddigon o fodd i'w helpu oll i Seion heb goll amser; tra y bydd i'r rhai a allant ddyfod, ac a ddysgwyliant am well amser, mwy o fodd, ac esmwythach cerbydau i'w cludo, ddysgwyl yn ofer; ac os cant wrthddrych eu hymchwiliad, hwy a'i cant trwy dristwch a llawer o drallod.

Mae arnom eisieu lliwiau, olew, gwydr, syth dees (*putty*), hoelion, tŷ-addurniadau, hadau at gloddiau a phob ffrwythau dewisol, llysieu, a blodau; peirianwaith cotwm a gwlan, a phob math o beiriannau at arbed gwaith. Y mae eisieu tri yn rhagor o beiriannau cribo y tymmor nesaf yn y Dyffryn. Mae marchnad dda yma i unrhyw gyflawnder o ddefaid ac anifeiliaid ieuainc. Mae eisieu hanner can tunell o edafedd cotwm y fynyd bresennol at waith teuluaidd. Pwy a ddwg y pethau hyn? Yr holl Saint.

Dygwch yr oll o'ch arian a'ch aur gweddill; meini gwerthfawr, a phethau cywrain, a hynafiaethau, a phob peth a wasanaetha i adeiladu, ardderchogi, ac addurno Teml y Goruchaf; a chyda chalonau gostyngedig ac addfwyn, a gweddi, a mawl, ac ympryd, a diolchgarwch, deuwch i fyny i gymhorth yr Arglwydd yn erbyn y cadarn, a chwi a dderbyniwch eich gwobr, mewn ordinhadau, mewn bendithion, ac mewn iachawdwriaeth. Ac yr ydym yn gweddio ar ein Tad nefol am iddo gynhyrfu eich calonau at weithredoedd cyfiawnder, a'ch arwain â'i Ysbryd yn wastadol,

a'ch galluogi i aros yn ei gyfraith, hyd oni pherffeithir, ac y parotoir chwi erbyn swper neithior yr Oen, yn enw Iesu Grist. Amen.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
WILLARD RICHARDS.

Dinas y Llyn Halen Fawr, Hyd. 13, 1852.

---

## PREGETH,

*A draddodwyd gan y Llywydd B. Young, yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Fawr, Awst* 8, 1852.

(Parhad o dud. 95.)

MI a gymmeraf i fyny ran arall o'm pregeth, trwy sylwi fod ychydig o ddynion ar y ddaear, wedi cael cyfran o wirionedd yma a thraw, ac wedi ei uno â'u doethineb eu hunain, a dysgu y byd fod yr Arglwydd yn bwriadu achub holl ddynolryw, nad pa beth a wnant. Mae rhai ereill yn cymmeryd gafael yn yr egwyddorion Calfinaidd; daliant allan fod yr Arglwydd wedi rhagarfaethu y peth hwn, y peth hwna, a'r peth hwnw, a dadleuant yn egnïol fod yr Arglwydd wedi arfaethu a rhag-ordeinio pa beth bynag a gymmero le, ac yna i ffwrdd â hwy. Yna daw un arall yn mlaen gydag iachawdwriaeth rad i bawb; y mae efe wedi dal yr egwyddor hono,—ac yna ymaith â hwynt oll, gan ddibrisio pob peth arall, ond yn unig y gyfran fychan y mae pob un wedi ei neillduo iddo ei hun.

Hyn sydd yn peri yr anghydfod yn y byd crefyddol. Yr ydym yn gweled plaid yma a phlaid acw, yn gwaeddi, Wele yma, ac wele acw, ac y mae y bobl yn amrafaelio yn chwerw â'u gilydd, cenedl yn erbyn cenedl, cymdeithas yn erbyn cymdeithas, a dyn yn erbyn dyn, y naill yn ceisio dyfetha y llall, neu eu dwyn hwynt i gredu yn y gyfran fechan hon o athrawiaeth, ag y mae pob un yn feddwl sydd yn iawn. Y mae yn iawn mor bell ag y mae yn myned.

Mae dyn yn cael ei wneyd yn oruchwyliwr iddo ei hun gerbron ei Dduw; mae wedi ei gorffoli i'r unig ddyben, fel y gallo ddyfod yn gyffelyb i'w feistr. Yr ydych yn cofio geiriau un o'r apostolion, sef pan welwn ef y byddwn debyg iddo; a thrachefn, ni a fyddwn yn Dduwiau, sef meibion Duw. A ydych yn darllen yn rhywle, y cawn feddiannu pob peth? Iesu yw y brawd hynaf, a chaiff yr holl frodyr eu cyfran gydag ef; ïe, cyfran gyfartal, yn ol eu gweithredoedd a'u galwedigaeth, a hwy a goronir gydag ef. A ydych chwi yn darllen am y fath beth â bod yr Iesu yn gweddio, ar fod y saint yn un gydag ef, megys y mae'r Tad ac yntau yn un? Mae y Beibl yn llawn o athrawiaeth felly, ac nid

oes dim niwed ynddi, cyhyd ag y byddo yn cytuno â'r Testament Newydd.

Mi a barhaf y pwnc ag wyf yn drin yn awr. Mae yr Arglwydd wedi eich creu chwi a minnau er mwyn dyfod yn Dduwiau fel ei hunan, ar ol i ni gael ein profi yn ein cyflwr presennol, a bod yn ffyddlawn yn yr holl bethau a osoda efe yn ein meddiant. Ni a greuwyd ac a anwyd yn unig er mwyn tyfu i fyny o sefyllfa isel dynoliaeth, i ddyfod yn Dduwiau fel ein Tad yn y nefoedd. Dyma'r gwirionedd ynghylch hyny, yn union fel y mae.—Mae yr Arglwydd wedi corffoli dynolryw i'r unig ddyben o gynnyddu yn y dealltwriaeth a'r gwirionedd hwnw, ag sydd gyda Duw, hyd nes y byddont yn alluog i greu bydoedd ar fydoedd, a dyfod yn Dduwiau, ïe, yn feibion Duw.

Pa gynnifer a gant eu breintio felly? Y rhai hyny a anrhydeddant y Tad a'r Mab; y rhai hyny a dderbyniant yr Ysbryd Glân, ac a fawrhant eu galwedigaeth, ac a geir yn bur a santaidd, hwy a goronir yn mhresennoldeb y Tad a'r Mab. Pwy arall? Dim neb. Pa beth sydd yn dyfod o'r holl rai ereill? A ydych yn myned i'w bwrw i lawr, a'u soddi i waelod y pwll diwaelod, i fod yn angylion i ddiafol?—Pwy yw ei angylion ef? Nid un dyn na dynes, os na fyddant yn derbyn efengyl yr iachawdwriaeth, ac yna yn ei gwadu, a throi yn hollol oddiwrthi, gan aberthu iddynt eu hunain Fab Duw o'r newydd. Hwynt-hwy yw yr unig rai a ddyoddefant ddigofaint Duw i bob tragywyddoldeb.

Pa faint a gymmer i barotoi dyn neu ddynes, neu unrhyw fôd, er dyfod yn angylion i ddiafol, i ddyoddef gydag ef i bob tragywyddoldeb? Yn union yr un faint ag a gymmer i barotoi dyn i fyned i'r deyrnas nefol, i bresennoldeb y Tad a'r Mab, ac i gael ei wneyd yn etifedd i'w deyrnas, ac i'w holl ogoniant, a chael ei goroni â choronau o ogoniant, anfarwoldeb, a bywydau tragywyddol. Yn awr, pwy a ddemnir i bob tragywyddoldeb? A gaiff rhai o'r lleill o ddynol-ryw? Na chant?—dim un o honynt.

Caiff hyd y nod y paganiaid ag oeddym yn siarad am danynt, os oes ganddynt gyfraith (nid yw wahaniaeth pwy a'i gwnaeth), ac os ydynt yn gwneyd y goreu a wyddant, ïe, hwy a gant ogoniant ag sydd tu hwnt i'ch amgyffred, wrth unrhyw ddesgrifiad a allwn i roddi; nis gellwch ddirnad y gyfran leiaf o ogoniant Duw, yr hwn a barotodd i'w greaduriaid, gwaith ei ddwylaw; canys y bobl hyn ag ydynt yn eistedd ger fy mron, y rhai ydynt feibion a merched, yn gyfreithlawn felly, o eiddo ein Tad yn y nefoedd, a ddeilliasant oll oddiwrtho ef; ni ddaeth i galon dyn i amgyffred yr hyn a barotodd efe iddynt.

Danfonodd yr Arglwydd ei efengyl at y bobl; efe a ddywedodd, Mi a'i rhoddaf i'm mab Adda, oddiwrth yr hwn y gwnaeth Methuselah ei derbyn; a Noah a'i derbyniodd oddiwrth Methuselah; a Melchisedec a'i gweinyddodd i Abraham.—Yn nyddiau Noah, y bobl yn gyffredinol a'i gwrthodasant. Yr holl rai hyny ag a ddaethant yn hysbys o'i hegwyddorion, a thrwyddi a wnaed

yn adnabyddus â, ac a brofasant allu iachawdwriath, ac a droisant ymaith oddiwrthi, a aethant yn angylion i ddiafol.

Bydded i ni gymhwyso hyn yn uniongyrchol atom ein hunain, y rhai a dderbyniasom y gwirionedd, ac a brofasom air daionus Duw. Bydded i mi droi o amgylch gyda chwi, a'i wrthod, a dysgu i'n plant ei fod yn anwiredd, dysgu yr unrhyw i'n cymmydogion, a'i fod yn ddigrifiaeth i'n synwyrau; bydded i ni wadu yr Arglwydd a'n prynodd, a pha beth fydd y canlyniad? Ein plant a dyfent i fyny mewn anghrediniaeth, a'r pechod a orphwysai ar ein penau ni. Meddyliwch ein bod ni yn ffyddlawn, ac na chreda y bobl ein tystiolaeth, ni a dderbyniwn ein gwobr megys pe byddent yn ei chredu.

Meddyliwch am drigolion y ddaear o'm blaen i, y rhai hyny ag ydynt wedi marw, pa beth a ddywedwn am danynt? A aethant hwy i'r nefoedd, neu i uffern? Y mae ymadrodd gwr doeth yn y Beibl fel hyn:—"Pwy a edwyn ysbryd dyn yr hwn sydd yn esgyn i fyny, ac ysbryd anifel yr hwn sydd yn disgyn i waered." Mae gan yr oll ysbrydoedd, mi a feddyliwn, wrth hyn. Drachefn, y mae ymadrodd arall,—"Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a gymmerodd ymaith, a bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." Mae dyn yn marw, ac y mae ei ysbryd yn myned at Dduw yr hwn a'i rhoddodd. Mae yr holl bethau hyn o fewn cyrhaedd-nod pregeth yr efengyl; mae yr holl egwyddorion hyn yn gynnwysedig yn mhregeth fawr yr efengyl.

Pa beth a ddywedwn heb fyned i'r ysgrythyrau oll? Pa le mae ysbrydoedd y bobl hyn yn myned, pan roddant i lawr eu tabernaclau? Maent yn myned i bresennoldeb Duw, ac y maent wrth ewyllys yr Hollalluog. A ydynt yn myned at y Tad a'r Mab, ac yn cael eu gogoneddu yno? Nac ydynt. Os yw ysbryd yn myned at Dduw yr hwn a'i rhoes, nid yw yn aros yno. Yr ydym ni yr holl amser yn mhresennoldeb Duw; eithr nid yw ein bod ni yn mhresennoldeb yr Arglwydd, yn ei wneyd ef yn ein presennoldeb ni; ystyrir fod ysbrydoedd dynion yn myned i bresennoldeb yr Arglwydd, pan y maent yn myned i'r byd ysbrydol.

Y prophwyd a rydd ei gorff i lawr, a rydd ei fywyd i lawr, ac y mae ei ysbryd yn myned i fyd yr ysbrydoedd; mae erlidiwr y prophwyd yn marw, ac y mae yn myned i Hades.—Os awn yn ol i'n mam wlad, ni a gawn yno y cyfiawn a'r drygionus.

Os awn yn ol i'n mam wlad, y Taleithiau, ni a gawn yno y cyfiawn, ac a gawn yno y drygionus; os awn i California, ni a gawn yno y cyfiawn a'r drygionus, yr oll yn trigo ynghyd; a phan y byddom yn myned tu draw y llèn hon, a gadael ein cyrff, y rhai gymmerwyd o'r fam ddaear, a'r rhai y rhaid iddynt ddychwelyd, bydd i'n hysbrydoedd fyned tu draw i'r llèn; yr ydym ni yn myned lle mae saint a phechaduriaid yn myned; maent oll yn myned i'r un lle. A yw y diafol yn cael gallu dros ysbrydoedd y cyfiawnion? Nac ydyw. Pan fyddo efe yn darfod â'r ddaear hon, y mae wrth hyd ei gadwyn. Nid yw yn cael ond yn unig awdurdod a llywodraeth ar y ddaear hon, perthynol i'r

tabernacl marwol hwn; a phan yr elom ni tu fewn i'r llèn, y mae'r oll yn mhresennoldeb Duw. Pa beth a ddywedodd un o'r rhai gynt? "I ba le yr af oddiwrth dy ysbryd, ac i ba le y ffoaf o'th wydd? os dringaf i'r nefoedd, yno yr wyt ti: os cyweiriaf fy ngwely yn uffern, wele di yno. Pe cymmerwn adenydd y wawr, a phe trigwn yn eithafoedd y ddaear; yna hefyd y'm tywysai dy law, ac y'm daliai dy ddeheulaw."—Pa le y mae terfyn ar ei allu ef? Y mae Efe yn hollalluog, ac yn llanw y gwagle, trwy ei oruchwylwyr, trwy ei ddylanwad, trwy ei ysbryd, a thrwy ei weinidogion. Yr ydym yn ei bresennoldeb ef yno, megys yr ydym yma. A yw y gelyn yn cael awdurdod ar y cyfiawnion? Nac ydyw. Pa le y mae ysbrydoedd yr annuwiol? Y maent yn ngharchar. Pa le y mae ysbrydoedd y cyfiawnion, y prophwydi a'r apostolion? Y maent yn ngharchar, frodyr; dyna lle y maent.

Yn awr, gadewch i ni sylwi ar ychydig o brofiad, rhag i rai o honoch dasgu oblegid y drychfeddwl hwn. Pa fodd yr ydych chwi yn teimlo, saint, pan fyddoch wedi eich llenwi gan allu a chariad Duw? Yr ydych mor ddedwydd ag y gall eich cyrff oddef. Pa beth fyddai eich teimladau, a thybied eich bod yn ngharchar, ac yn llawn o allu a chariad Duw? a fyddech chwi yn annedwydd? Na fyddech. Meddyliwyf y byddai carcharau yn balasau, pe trigai yr Iesu yno. Profiad ydyw hyn.—Mi a wn ei fod yn ddrychfeddwl syn i ddweyd fod y prophwyd ac erlidiwr y prophwyd, yn myned i garchar ynghyd. Pa beth yw sefyllfa y cyfiawnion? Y maent hwy yn feddiannol ar ysbryd yr Iesu, gallu Duw, yr hyn yw eu nefoedd; gwna yr Iesu weinyddu iddynt; gwna angylion weinyddu iddynt; a hwy a gant y fraint o weled a deall mwy nâ chwi a minnau yn y cnawd; eithr nid ydynt hwy wedi cael eu cyrff etto, ac o ganlyniad y maent yn ngharchar. Pa bryd y caut eu coroni, a'u dwyn i bresennoldeb y Tad a'r Mab? Dim hyd nes y byddont wedi cael eu cyrff; dyma yw eu gogoniant. Er mwyn pa beth y bu y merthyron santaidd farw? O herwydd yr addewid o dderbyn cyrff, sef cyrff santeiddiedig, yn moreu yr adgyfodiad. Er mwyn hyn y buont fyw, ac y dyoddefasant yn amyneddgar, ac er mwyn hyn y buont farw. Yn mhresennoldeb y Tad a'r Mab, nis gallant hwy breswylio, a chael eu coroni, hyd nes y byddo gwaith prynedigaeth y corff a'r ysbryd wedi ei gwblhau. Pa beth yw sefyllfa y drygionus? Y maent yn ngharchar. A ydynt hwy yn ddedwydd? Nac ydynt. Y maent wedi myned tu draw y llèn, i'r man lle y mae llèn y gorchudd yn cael ei gymmeryd oddiar eu dealltwriaeth. Maent yn llwyr ddeall eu bod wedi erlid y Sanct a'r Cyfiawn, ac y maent yn teimlo digofaint yr Hollalluog yn gorphwys arnynt, gan ofnadwy ddysgwyl am derfyniad olaf eu dedfryd gyfiawn, i fyned yn angylion i ddiafol, yn union yr un fath ag y mae yn y byd hwn yn gywir.

A oes gallu gan y diafol i gystuddio a thaflu yr ysbryd i boenedigaeth? Nac oes. Yr ydym wedi cael yr oruchafiaeth arno ef.

Yn y byd hwn yn unig y mae gallu ganddo ef i achosi trallod ac afiechyd, poen a chaledi, tristwch, ing, a siomedigaeth; eithr pan yr elom yno, wele! y mae gelyn yr Iesu wrth hyd mwyaf ei gadwyn; y mae wedi darfod ei waith o boenydio; nis gall ddyfod dim yn mhellach; yr ydym allan o'i gyrhaedd, ac y mae'r cyfiawn yn huno mewn heddwch, tra y mae yr ysbryd yn pryderus edrych yn mlaen at y dydd, pan ddywed yr Arglwydd, Deffrowch, fy saint; yr ydych wedi huno yn ddigon hir; neu ynte fe gân udgorn Duw, a'r llwch cysglyd a gyfodant, a'r ysbrydoedd absennol â ddychwelant i gael eu huno â'u cyrff; a hwy a ddeuant yn bersonau o dabernacl, megys y Tad a'i Fab, Iesu Grist; ïe, yn Dduwiau yn nhragywyddoldeb.

Hwy a edrychant yn mlaen gyda phryder mawr at y dydd hwnw, ac ni fydd eu dedwyddwch yn gyflawn—ni chyrhaedd eu gogoniant ei derfyn eithaf, hyd nes y byddant wedi myned i bresennoldeb uniongyrchol y Tad a'r Mab, i gael eu coroni, megys ag y caiff yr Iesu, pan fyddo y gwaith wedi ei gwblhau. Pan fyddo wedi ei ddirwyn i fyny, y testun wedi ei bregethu, yn ei holl ranau, perthynol i brynedigaeth y byd, a diben terfynedig pob peth, yna yr Iachawdwr a gyflwyna y gwaith i'r Tad, gan ddywedyd, Fy Nhad, mi a gwblhëais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur; a'r Mab a'i rhydd i fyny i'r Tad, ac yna i fod yn ddarostyngedig iddo, ac yna efe a goronir, a dyna'r amser y coronir chwithau a minnau hefyd.

Ni a sylwn, wrth hyn, fod holl genedloedd y ddaear, oddieithr y rhai hyny ag ydynt wedi gwrthgilio oddiwrth efengyl yr iachawdwriaeth; pob mab a merch i Adda, oddieithr y rhai hyny ag ydynt wedi gwadu yr Ysbryd Glân, ar ol ei dderbyn,—wedi eu rhoi yn ngharchar gyda'r lleill o honynt, gyda phrophwydi, offeiriaid, a saint. Meddyliwch pe byddem yn dyfynu ychydig o ysgrythyr ar y pwynt hwn.—Bu Iesu farw er gwaredu y byd. A orweddodd ei gorff yn y beddrod? A adawodd ei ysbryd ei gorff? Do. —Chwi a ellwch ofyn, pa le yr aeth ei ysbryd? Nis gwn y gallaf fi ddweyd yn well wrthych nag y dywedodd yr hen apostol am dano; efe a ddywed iddo fyned i bregethu i'r ysbrydion yn ngharchar. Pwy yw y rhai yr aeth efe atynt i bregethu? Y bobl ag oedd yn byw cyn y diluw. Efe a bregethodd yr efengyl iddynt hwy yn yr ysbryd, fel y bernid hwy yn ol dynion yn y cnawd.

Pa beth a gawn ddywedyd am y bobl ag sydd yn byw yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg? Pan fyddo rhywrai o henuriaid neu apostolion Saint y Dyddiau Diweddaf yn marw, ac yn gadael y byd hwn, digon yw dywedyd, bod eu hysbrydoedd yn myned i'r carchar hwnw, ac yn pregethu yr efengyl i'r rhai hyny a fuont feirw cyn cael ei chlywed; a chaiff pob ysbryd ei farnu yn union yr un fath â phe byddai fyw yn y cnawd pan oedd cyflawnder yr efengyl ar y ddaear. Arweinia hyn at bwnc y galluoedd achubol a chadwedigol a feddiannir gan y cyfiawnion; eithr nid oes amser genym y boreu hwn i sylwi

arno; digon yw dywedyd fod iachawdwyr yn dyfod i fyny, yn y dyddiau diweddaf, ar fynydd Seion.

Yr wyf yn dywedyd hyn am bob mab a merch i Adda, prophwydi, offeiriaid, a'r rhai hyny a laddodd y prophwydi, eu bod oll yn myned i garchar; mae henuriaid yr eglwys hon yn myned yno, ac yn parhau eu gwaith yno; a maes o law chwi a gewch weled Seion wedi ei gwaredu, ac iachawdwyr yn dyfod i fyny ar fynydd Seion. Fe ddaw yr henuriaid ffyddlawn, gan fyned yn mlaen gydag ordinhadau Duw, fel y gallo ein henafiaid, a'r holl rai a fuont feirw yn flaenorol i adferiad yr efengyl yn y dyddiau diweddaf hyn, gael eu gwaredu.

Yn awr, chwi henuriaid Israel, pan ddywedoch i John Wesley fyned i uffern, dywedwch i Joseph Smith fyned yno hefyd. Pan ddywedoch ynghylch Judas Iscariot yn myned i uffern, dywedwch i'r Iesu fyned yno hefyd. Nis gall y byd weled yr oll o bregeth yr efengyl ar un olwg; nis gallant ond yn unig gymmeryd i fyny ychydig yma ac ychydig acw. Mae y rhai ag sydd yn ei deall o'r dechreu i'r diwedd, yn gwybod ei bod mor union ag y gellir tynu llinell. Nis gellwch gael cwmpawd ar y ddaear, ag sydd yn cyfeirio mor gymhwys â threfn efengyl yr iachawdwriaeth. Y mae ganddi le at bob peth, a hi a esyd bob peth yn ei le. Mae yn rhanu, ac yn dosranu, ac yn rhoddi i bob rhan o'r teulu dynol, megys ag y mae amgylchiadau yn gofyn.

Ein gwaith ni ydyw cael gwared o'r traddodiad hwnw, yn mha un yr ydym wedi ein hamgau, ac hyfforddi ein plant yn y ffordd y dylent rodio, fel pan heneiddiont, nad ymadawont â hi. Eich rhagorfraint chwi a minnau yw mwynhau gweledigaethau ysbryd yr Arglwydd, pob un yn ei drefn ei hun, yn union fel ag y mae yr Arglwydd wedi ei ordeinio, fel y gwypo pob dyn a dynes drostynt eu hunain, os byddant yn gweuthur yn iawn, yn ol cynllun mawr yr iachawdwriaeth. Nid wyf ond wedi cyffwrdd ychydig â phregeth fawr yr efengyl, ac y mae'r amser wedi dod pan y rhaid i ni derfynu ein cyfarfod; felly, bendithied yr Arglwydd Dduw Israel chwi, yn enw Iesu. Amen.

---

## AT Y SAINT YN EWROP.

GAN MISS E. R. SNOW.

CHWI Saint arosedig yn Ewrop,
Lle'r ydych ar wasgar yn byw;—
Gras, hedd, a thrugaredd boed ichwi,
Drwy nerthoedd gwybodaeth ein Duw.

*Byrdwn.*

Dewch, dewch, i fwyn gelloedd yr Israel;
Dewch, dewch i'r gorllewin i dref;
Dewch, dewch i ddyffrynoedd hoff Ephraim;
Dewch, dewch i etholdir y nef.

Ha! Seion, ei sain sy'n eangu—
A'i llèni a daenir yn fwyn:
Ei heddwch i glydwch arweiniwyd,
Lle nas gall cenedloedd ei ddwyn.
Dewch, dewch, &c.

Ein maesydd yn gnydiog sydd yma,
Llawnderau o wenith a chàn;
Trysordy yn orlawn o ffrwythau
Dihafal i gynnal y gwan.
Dewch, dewch, &c.

Y Deml, pan ei hadeiladwn
Yn santaidd i'r Arglwydd ein Rhi,
Bendithion y bur Offeiriadaeth
A dâl ar ei ganfed i ni.
Dewch, dewch, &c.

Gan hyny, ymddygwn yn ffyddlon,
I weithio dros feirwon o hyd,
Mal bo gwaith y mawr adgyfodiad,
Drwy holl genedlaethau y byd.
Dewch, dewch, &c.

*Cyf.* IDLOES.

## AMRYWIAETHAU, &c.

FFYDD iachus yw y dduwinyddiaeth oreu, cydwybod dda yw y gyfraith oreu, a chymmedroldeb yw y feddyginiaeth oreu.

HWYLIODD yr Henuriaid George Halliday, Abednego Jones, William Parry, a John Davies, yr oll yn lywyddion Cynnadleddau, gyda chwmpeini o 314 o Saint, ar fwrdd y Jersey, ar y 5med o'r mis hwn. Yr oedd yn y nifer uchod oddeutu 200 o Gymry.

APWYNTIWYD John N. Jones, henuriad teithiol o Gynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, i fod yn Llywydd ar Gynnadledd Sir Fflint, yn lle y brawd William Parry.

CYMMANFAOEDD Y GOGLEDD.—Cynnelir Cymmanfa Sir Fflint, ar y 13eg o'r mis hwn; Sir Ddinbych, ar y 20fed; Dyffryn Conwy, ar y 27ain; a Sir Feirionydd ar y 6fed o Fawrth.

TALIADAU O CHWEF. 4 HYD CHWEF. 10.—Cangen Gymreig Liverpool, £2 7s; Dinbych, £1; Pontytypridd, 8s 3c; Aberamman, 6s; Hirwaen, £1 5s 7c; Merthyr, 10s; Llanfabon, 3s; Aberdar, £1 (Ion. 31).—Cyfanswm, £6 19s 10c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 8.] CHWEFROR 19, 1853. [CYF. V.


## PREGETH ARALL GAN Y LLYWYDD B. YOUNG,

*A draddodwyd ar ddydd Sul, Awst 15, 1852, mewn ffordd o barhad ar y pwnc a driniodd y Sul blaenorol.*

YR wyf yn hyderus fy mod yn cael gweddiau y saint, a ffydd y rhai hyny sydd yn feddiannol ar ffydd. Anfynych y dymunaf ar i'r sant weddio drosof, oblegid yr wyf yn eu barnu hwynt wrthyf fy hun, gyda barn gyfiawn; yr wyf fi bob amser yn gweddio dros y saint, a thybiwyf eu bod hwythau, mewn ffordd o ad-daliad, yn gweddio dros yr holl ffyddloniaid; ac o ganlyniad, yr wyf finnau yn cael rhan o'u gweddiau.

Yr wyf yn cofio am yr hyn a ddywedais y Sul diweddaf o barthed i'r efengyl—pa beth ydyw pregeth yr efengyl—pa gymmaint o amser a gymmera i'w phregethu, a pha beth a gynnwysa; ei bod yn cymmeryd yr un amser i'w phregethu ag a gymmera i gwblhau cynllun yr iachawdwriaeth, perthynol i blant dynion.

Ni welais i erioed etto yr amser ag oedd genyf ddoethineb, nerth, a gallu digonol er pregethu pregeth efengyl; ei dechreu, a'i diweddu; gan osod gerbron y bobl gynllun yr iachawdwriaeth yn ddigon cyflawn, fel y gallont trwyddo gael eu hachub. Eithr yn dameidiau yn unig ei rhoddir, ychydig yma ac ychydig acw, gan egwan ddyn.

Mae y pwnc sydd ger ein bron heddyw, yn bregeth fawr. Er deall egwyddorion cyntaf yr efengyl—er eu hiawn ddeall hwynt, mae yn rhaid i ddyn gael y doethineb sydd oddi uchod; rhaid

iddo gael ei oleuo trwy yr Ysbryd Glân; rhaid i'w feddwl fod mewn gweledigaeth agored; mae yn rhaid iddo fwynhau bendithion yr iachawdwriaeth ei hunan, er mwyn eu rhoddi i ereill.

Yn ein galwedigaeth ni, yr ydym yn cael ein breintio gyda golwg ysbrydol, yn gymhwys yr un fath â chyda golwg dymmorol. Yr ydym yn cael y fraint o ddysgu ac ychwanegu at y wybodaeth ag ydym wedi ei chael yn barod. Er enghraifft, y mae genym wybodaeth am egwyddorion yr iaith Seisnig; os parhawn yn ein myfyrdodau, yn ein hymdrechiadau i gael addysg, yr ydym yn cyrhaedd mwy o wybodaeth; ac os parhawn o hyd i ymlynu, yr ydym o hyd yn ychwanegu at hyny, hyd nes y byddom yn berffaith feistri ar yr iaith.

Drachefn, gyda golwg ar beirianwaith, mewn rhyw ystyr, mae yr un egwyddor yn dal yn dda. Yr ydym yn cael y fraint o ddysgu y gwyddorau a'r celfyddydau ag y mae y dysgedigion yn mhlith y Cenedloedd yn ddeall; yr ydym yn cael y fraint o ddyfod yn ysgolheigion profedig—o ddechreu gydag egwyddorion pob gwybodaeth—o fyned i mewn, fe allwn ddweyd, i athrofeydd perffeithrwydd. Ni a allem fyfyrio, ac ychwanegu gwybodaeth at wybodaeth, o'r pryd yr ydym yn alluog i wybod rhywbeth, hyd nes yr elom i waered i'n beddau; pe mwynhaem gyrff iachus, fel ag i beidio treulio galluoedd y meddwl, nid oes dim diwedd ar ddysgeidiaeth dyn. Mae hyn yn dwyn cymhariaeth gywir o'n sefyllfa o barthed i bethau nefol. Mae gallu dynolryw i gyrhaedd gwybodaeth mewn mesuryddiaeth, a'r celfyddydau cywrain, yn fawr; y mae pob cenedloedd a phobloedd yn deall mwy neu lai am y wybodaeth o barthed i'r gwyddorau a'r celfyddydau.

Eithr pan adawant yr egwyddorion hyny a amgyffredir yn y myfyrdodau a ddilynir gan y dyn anianol, ac y cymmerant arnynt i ddarlunio eu personau eu hunain, eu bodoliaeth eu hunain, ac i ddeall y priodoldeb a'r doethineb o'r greadigaeth, a dwyn allan iddynt eu hunain, neu i ereill, yr egwyddorion hyny a berthynant i wybodaeth ddyfodol, y maent yn y tywyllwch; y mae gorchudd drostynt. Y mae llen y gorchudd ag sydd dros genedloedd y ddaear, wedi cymylu eu dealltwriaeth, nes y maent mewn tywyllwch dudew. Hyn a ddysgir i ni gan ein profiad—pan fo unrhyw berson neu bersonau, ag sydd yn cymmeryd arnynt i gamu tuhwnt i natur reoleiddeidig, yr hon sydd yn wel-

edig i'r llygaid naturiol, y mae yno ddirgelwch; y dirgelwch cuddiedig, dirgelwch dwfn ac anchwiliadwy creadigaeth.

Yr ydym yn gallu gweled y dyn anianol, yr ydym yn gallu gweled ein gwyneb yn y drych, eithr a allwn ni ddweyd pa fath berson ydym? A allwn ni ddarlunio dyben y cyd-gorffoliad hwn—y corff yma? A allwn ni ei amgylchynu? A allwn ni gael allan ddyfnder, priodoldeb, anghenrheidrwydd, a dyben doethineb dwyfol, yn ein cyd-gorffoliad? Mae yn ddirgelwch i'r doethaf sydd ar y ddaear. Yr ydym yn gweled bywyd a gweithrediad; gwelwn hyn yn feunyddiol ein hunain—yr ydym ni yn gweithredu, ac yr ydym yn gweled ereill yn gweithredu. Mae genym lygaid i weled; ein clustiau a wnaed i glywed, ein dwylaw i deimlo, ac ymddengys fod yr holl gyfundrefn trwyddi wedi ei llunio yn berffaith i synwyr a dealltwriaeth; ac y mae'r dirgelwch o hono yn gyfryw fel y mae y doethaf o'r holl athronyddion yn barod i gyfaddef a dweyd, ei fod yn ddirgelwch; nis gellir ei dreiddio na'i ddeall gan ddyn. Pan yr elom yn mlaen i'r dyfodiant, neu gilio yn ol i'r mynedol, y mae y naill a'r llall yn taflu dyn i ddirgelwch mwy o hyd. Y mae yn ddirgelwch ag y mae'r byd wedi bod yn chwilio am dano trwy eu doethineb; y maent hwy wedi astudio yn ddyfal i'r unig ddyben o ddyfod yn hysbys o'r dirgeledigaethau hyn. Mae miloedd ar filoedd wedi treulio eu holl fywydau mewn myfyrdod; y maent wedi chwilio am, a darllen sylwadau a drychfeddyliau ereill, gyda'r awydd mwyaf a'r dyben cywiraf, gan geisio cael allan yr hyn na chafwyd allan gan ereill, a dysgu yr hyn na ddysgwyd.

Nid yw y llyfr yma, yr hwn yw yr Hen a'r Newydd Destamentau, yn pregethu dim ond un bregeth, o Genesis i'r Dadguddiad. Yr ydym yn dechreu ac yn myned trwy y gyfrol hon; yna yn chwilio yr holl lyfrau a wrthodwyd gan y cenedloedd Cristionogol, fel rhai heb fod yn ganonaidd, ac unrhyw ysgrifeniadau ereill o eiddo prophwydi, ac apostolion, a phob dyn da; pob dadguddiadau a osodwyd o'r neilldu, ac a ystyriwyd yn ddianghenrheidiol;—yn symio yr holl ddadguddiau a roddwyd er dyddiau Adda hyd yr amser presennol; a pha beth yw swm yr oll o'i addysgiadau Ef yr hwn a greodd, Goruchaf y bydyssawd—yr Hwn a reoleiddiodd, ac a gynlluniodd, ac a weithiodd, ac a ddygodd i fodoliaeth ei holl addysgiadau i'w bobl? Hyn yn unig: fab, a merch, byddwch fyw ger fy mron, fel y gallwyf ddyfod i

ymweled â chwi; ymagweddwch eich bywydau gyda'r priodoldeb hwnw, fel na fydd i mi gael fy ngwarthruddo wrth ddyfod i drigo atoch am dymmor; neu, pan ddanfonaf fy angylion, neu fy ngweinidog, yr Ysbryd Glân, i ddadguddio fy meddwl a'm ewyllys i chwi, neu i'ch bendithio â chysur arosol, na fyddo iddynt gael eu gwarthruddo yn eich cymdeithas.

Dywedaf fod holl ddadguddiadau Duw yn dysgu hyn yn unig: fab, a merch, chwi ydych waith fy nwylaw; rhodiwch a byddwch fyw ger fy mron i yn wastadol; bydded eich ymadrodd yn ddihalog; bydded eich rhodiad beunyddiol yn ol fy nghyfraith i; bydded trafodaeth y naill a'r llall mewn cyfiawnder ac uniondeb; bydded fy nghymmeriad yn gyssegredig yn eich genau, ac na halogwch fy enw santaidd, a mathru fy awdurdod; na ddirmygwch un o'm geiriau, canys ni'm gwarthruddir i. Yr wyf am ddanfon un o'm gweision i ymweled â chwi. I ba beth? Fel y galloch weled a gwybod, fel ag y mae ereill wedi gwneyd; fel y gweloch megys eich gwelir; fel y dealloch yr egwyddorion hyny a berthynant yn fwyaf neillduol i'r deyrnas yr ydych ynddi. Yr ydych wedi ymddarostwng islaw pob peth; myfi, yn fy noethineb, a'ch darostyngais; myfi a berais i chwi yfed o waelodion cwpan chwerw. Mi a'ch gosodais yn nyfnderau anwybodaeth, ac a'ch amgylchynais â gwendid er eich profi. Mi a'ch gwnaethym yn ddarostyngedig i bob trueni a ellid ei ddyoddef. Mi a berais i chwi ddyfod i'r ddaear hon, lle y mae trueni, a thywyllwch, a phob math o anghrediniaeth a drygioni yn teyrnasu, er eich profi chwi, fel y dealloch ac yr adwaenoch y da oddiwrth y drwg, ac y byddoch yn alluog i farnu rhyngddynt â barn gyfiawn.

Mi a berais i hyn oll gael ei wneuthur; ac yn awr, fab a merch, *trigolion* yr *holl ddaear* ag a fuont byw er dyddiau Adda hyd yn awr, y cyntaf a'r diweddaf,—prif ddyben yr oll ag wyf fi, yr Arglwydd, wedi ddadguddio, yw er eich dysgu chwi i fyw fel y gallwyf fi ddyfod i ymweled â chwi, neu ddanfon fy angylion, fel y gallont fyned i mewn i'ch trigfanau, rhodio ac ymddyddan â chwi, heb iddynt gael eu gwarthruddo. Trwy wneuthur felly, chwi a wneir yn gyfranogwyr o'r holl wybodaeth, a doethineb, gallu a gogoniant, ag a fwynheir gan y bodau santeiddiedig neu ogoneddedig. A dyma yn gyntaf oll, yw y cyfan y mae'r Arglwydd yn dymuno gan ei bobl.

Pa beth a ddysga ein profiad i ni—a wêl ein llygaid ddydd ar ol dydd? Mae yn wir y gallaf ddweyd gyda llawer o honoch chwithau, nad wyf dan yr anghenrheidrwydd o wrandaw ar enw fy Nuw, yr hwn a wasanaethaf, fy Nhad yn y nefoedd, yn cael ei gablu yn feunyddiol; nid wyf fi yn ymgyfeillachu â'r rhai hyny ag sydd yn cablu enw y Tad, a'r Mab, a chymmeriad yr Ysbryd Glân; nid wyf yn ymgyfeillachu â'r rhai hyny ag ydynt gelwyddwyr, neu odinebwyr, neu buteinwyr, neu y rhai hyny ag sydd yn caru dweyd celwydd; etto, pan ydym yn ymgymmysgu â'r rhai drygionus, pa beth ydym yn weled ac yn glywed? Pa beth y mae'r rhai hyn, fy mrodyr, yn glywed, ag ydynt yn cymmeryd y trafferth o fyned i'r *kanyons* i werthu ychydig o ddiod i'r teithiwr? Y maent yn clywed enw yr Arglwydd yr hwn a'u prynodd, yn cael ei gablu. Gofynai yr holl weddeuau ag sydd genych yn y wlad i lusgo digon o aur, er fy mhemtio i i'r fath sefyllfa.

Mae dynion yn myned yn benwan, pan yn ymweled â'r *ferries*, er mwyn gwneyd ychydig o ddolars. Pa beth ydych yn glywed yno? Yr ydych yn clywed enw yr Arglwydd Hollalluog, a'i gymmeriad, ynghyd â'i Fab Iesu Grist, a'i weinidog, yr Ysbryd Glân, yn cael ei gablu; ac y mae pob gwas i Dduw ar y ddaear, yn cael eu melldithio ganddynt hwy i'r wlad iselaf. Nid holl aur Ophir a Chaliffornia a'm cyflogai i wrandaw ar hyny am un mis. Dyna yw fy nheimladau.

Aur ac arian a ddarfyddant, eithr enw yr Arglwydd a erys yn dragywydd; ni ddrewa ei gymmeriad Ef, na chymmeriad ei Fab, nac eiddo ei weinidogion, nac eiddo neb o'i ffyddlawn weision, y rhai a gadwant ei orchymynion. Darfydda cyfoeth, eithr *hwynthwy* nis darfyddant. Yr wyf yn dywedyd etto, nid oes digon o aur yn gorwedd y tu dwyreiniol i'r Mynyddoedd Creiglyd, i'm dwyn i un o'r *ferries* hyn, ac i wrandaw ar y cablu a gawswn glywed. Eithr ai ni allwn ei glywed yma? Gallwn, er cywilydd a gwarth i ychydig o'r rhai hyny a alwant eu hunain yn Saint y Dyddiau Diweddaf. A ydyw felly, fod dyn ag sydd â'i enw yn ysgrifenedig yn Llyfr Bywyd yr Oen, ag a gymmer enw y Duwdod yn ofer? Yr wyf yn llefaru wrthych chwi ag sydd yn cellwair â'r Arglwydd Iesu Grist, a glân Ysbryd yr addewid, er cywilydd i ychydig o henuriaid Israel.

Fe ddaw yr amser pan y torir hwynt allan, er fod yn ddrwg

genyf i ddweyd hyny; mi a ddewiswn ddweyd, tra yr ydwyf yn nghymdeithas Saint y Dyddiau Diweddaf, na chawn byth glywed cymmeriad y Duwdod yn cael ei wawdio a'i warthruddo, a'i enw yn cael ei ddefnyddio mewn dull ysgafn a chellweirus.

Mae yn wir nad wyf fi yn ei glywed. Pe byddwn i yn clywed, yr hyn y mae pobl ereill yn ddweyd eu bod hwy yn glywed, fod henuriad yn Israel yn defnyddio enw yr Arglwydd Dduw yn ofer, mi a'i torwn ef allan o'r eglwys; a phe nas gallwn gael unrhyw help i'w dori allan, mi a wnelwn hyny fy hunan. Gadewch i mi ddweyd wrthych, fod yn rhaid mai dyn anwybodus iawn yw yr hwn a ddefnyddio enw y Duwdod yn ofer, heb ei fod yn edifarhau yn ddioed.

Pan oeddwn yn llefaru y Sabboth diweddaf, mi a ewyllysiwn pe byddai genyf ddigon o nerth yn fy ysgyfaint i lefaru oddeutu mil o flynyddoedd, a byw heb fwyta na gorphwys; mi a feddyliwn, yn yr amser hyny, y gallem fyned trwy gyfran lled dda o bregeth yr efengyl.

Mi a ddarllenaf yn awr ychydig yn y llyfr hwn, a elwir Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau, o barthed i'r pwnc ag oedd o'n blaen y Sabboth diweddaf. Mi a ddarllenaf ran o ddadguddiad byr, i'r dyben o ddangos rhai pynciau o athrawiaeth ag nad ydynt yn cael eu deall yn gyffredin, er eu bod o flaen y bobl. Mae pawb ag sydd yn teimlo awydd, yn cael y fraint o ddarllen y llyfr hwn drostynt eu hunain; oblegid y mae wedi ei gyhoeddi i'r byd er ys rhai blynyddoedd; mae y saint yn ei ddarllen, ac yn cael y fraint o'i ddeall, os ewyllysiant. Etto, megys ag y sylwais, yr ydym ni yn yr ysgol, ac yn parhau i ddysgu, ac ni ddysgwyliwn roddi heibio dysgu tra y byddom ar y ddaear; a phan yr elom i mewn trwy y llèn, ni a ddysgwyliwn barhau i ddysgu o hyd, a chynnyddu ein hystor o wybodaeth. Gall hyn ymddangos yn ddrychfeddwl rhyfedd i rai; eithr y mae'r rheswm yn eglur a syml, nad allaf fi dderbyn pob gwybodaeth ar unwaith, ac o ganlyniad mae yn rhaid i mi dderbyn ychydig yma, ac ychydig acw.

Mi a ddarllenaf yn Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau, dosran 44. "Gorchymyn Duw, ac nid dyn, i Martin Harris, a roddwyd (Manchester, Caerefrog Newydd, Mawrth, 1830) ganddo Ef yr hwn sydd yn dragywydd."

Mi a allwn roddi i'r bobl yr achos o'r dadguddiad hwn, eithr nid yw yn anghenrheidiol. Dichon y dywedaf air ar hyny, pan y deuaf ato yn y dadguddiad, yr hyn a eglura y cyfan sydd yn anghenrheidiol. Mae y rhai ag ydynt yn adnabyddus o Martin Harris yn adwaen ei ddull a'i duedd naturiol; yr oedd am ddysgu pob peth ar unwaith; yr oedd yn barhaus mewn ymchwiliad am wirionedd, ac yn esgeuluso gweithredu ar yr hyn ag oedd wedi ei dderbyn yn barod. Dyma yw ei wir gymmeriad. Mae y dadguddiad yn darllen fel y canlyn:—

"Myfi wyf Alpha ac Omega, Crist yr Arglwydd; ïe, myfi yw Efe, y dechreu a'r diwedd, Iachawdwr y byd. Myfi, wedi cyflawni a gorphen ei ewyllys ef eiddo yr hwn ydwyf, sef y Tad, mewn perthynas i mi—gan wneuthur hyn fel y darostyngwn bob peth i mi fy hunan,—gan gadw pob gallu, hyd y nod i ddinystrio Satan a'i weithredoedd ar ddiwedd y byd, a dydd mawr olaf y farn, yr hon a gyhoeddaf ar ei thrigolion, gan farnu pob dyn yn ol ei waith a'r gweithredoedd a wnaeth."

Yr ydych yn cofio ein bod yn darllen yn y Beibl, y caiff pob dyn ei farnu yn ol ei weithredoedd; eithr y mae braidd yn anmhosibl, neu mi a ddywedaf, y mae yn gryn dasg, ac yn fawr waith, i gael gan gydwladoldeb i ddeall y geiriau hyn, fel ag y darllenant; pan mewn gwirionedd, y maent i'r rhai sydd yn eu deall mor eglur ag ydyw i'r gynnulleidfa hon i gyfrif pa gynnifer o fysedd wyf fi yn ddal i fyny o'ch blaen. Os daliaf i fyny ddau fys, chwi a ddywedwch, dyna ddau; eithr fe neidia rhywun i fyny ac a ddywed, nage, nid oes yma ond un; tra yr haera un arall fod yma bedwar, ac nid un na dau. Mae pob person yn cael y fraint o edrych drostynt eu hunain, a gallant wybod pa un a wyf yn dal i fyny un, dau, neu bedwar bys. I berson ag sydd yn deall yr ymadrodd hwn, y mae yr un mor hawdd iddo farnu, a gwybod y caiff dynolryw eu barnu yn ol eu gweithredoedd y rhai a wnant yn y corff; ac etto pa mor galed yw cael gan y bobl i ddywedyd mai felly y mae, a'u cael i ddeall hyny.

"Ac yn ddiau rhaid i bob dyn edifarhau neu ddyoddef, canys myfi, Dduw, ydwyf ddiddiwedd; gan hyny, nid wyf yn galw yn ol y barnau a gyhoeddaf, ond gwaeau a ânt allan, llefain, wylo, a rhincian dannedd, ïe, i'r rhai a geir ar fy llaw aswy; er hyny, ni ysgrifenwyd na fydd diwedd i'r gospedigaeth hon, eithr ysgrifenwyd cospedigaeth ddiddiwedd."

Mae y datguddiad hwn wedi bod o flaen y bobl, yn y gyfrol hon, er y flwyddyn 1834, ac etto ychydig iawn sydd wedi sylwi arno. Meddyliwch pe ail-adroddwn ran o'r dyfyniad diweddaf hwn: "Er hyny, ni ysgrifenwyd na fydd diwedd i'r gospedigaeth hon, eithr ysgrifenwyd cospedigaeth ddiddiwedd."

"Drachefn, ysgrifenwyd damnedigaeth dragywyddol; gan hyny, y mae yn fwy penderfynol nag ysgrythyrau ereill, fel y byddai iddi weithiaw ar galonau plant dynion, yn hollol er gogoniant fy enw. O herwydd paham mi a egluraf i chwi y dirgelwch hyn, canys y mae yn addas i chwi ei wybod megys fy apostolion. Yr wyf yn llefaru wrthych chwi y rhai ydych wedi eich dewis yn y peth hwn, megys un, fel yr eloch i mewn i'm gorphwysfa; canys, wele, dirgelwch Duwioldeb, mor fawr ydyw! canys, wele, myfi ydwyf ddiddiwedd, a'r gospedigaeth a roddir o'm llaw i, sydd gospedigaeth ddiddiwedd, canys diddiwedd yw fy enw; gan hyny —cospedigaeth dragywyddol yw cospedigaeth Duw; cospedigaeth ddiddiwedd yw cospedigaeth Duw."

Os wyf yn cofio yn iawn, meddyliwyf nad oes un lle yn y Beibl mor eglur, gyda golwg ar yr enw hwn o eiddo y Duwdod, "canys diddiwedd yw fy enw."

"Gan hyny, yr wyf yn gorchymyn i chwi edifarhau, a chadw y gorchymynion a dderbyniasoch trwy law fy ngwas Joseph Smith, ieu., yn fy enw i; a thrwy fy ngallu hollalluog i y derbyniasoch hwynt; gan hyny, yr wyf yn gorchymyn i chwi edifarhau—edifarhewch, rhag i mi eich taro chwi â gwialen fy ngenau, ac yn fy llid, ac yn fy nigter, ac i'ch dyoddefiadau fod yn dost—pa mor dost ni wyddoch! pa mor boenus ni wyddoch! ie, pa mor galed i'w dyoddef ni wyddoch! Canys, wele, myfi, Duw, a ddyoddefais y pethau hyn dros bawb, fel na oddefent hwy os byddai iddynt edifarhau, ond os na fydd iddynt edifarhau, rhaid iddynt ddyoddef yr un modd â mi, a'r cyfryw ddyoddefiadau a barasant i mi, hyd y nod Duw, y mwyaf o bawb, grynu o herwydd poen, a gwaedu trwy fy holl chwys-dyllau, a dyoddef yn y corff a'r ysbryd; a dymunaswn nad yfaswn o'r cwpan chwerw a thynu yn ol—er hyny, i'r Tad y byddo y gogoniant, a mi a gyfranogais ac a orphenais fy mharotoadau i blant dynion; gan hyny, yr wyf etto yn gorchymyn i chwi edifarhau, rhag i mi eich darostwng â'm gallu hollalluog, a bod i chwi gyffesu eich pechodau, rhag i chwi ddyoddef y cospedigaethau am y rhai y llefarais, o ba rai

yn y radd leiaf, neu fwyaf bychan, yr ydych wedi profi pan dynais yn ol fy ysbryd."

Nid yw yr iaith hon yn gofyn un eglurhad neillduol, i'r rhai hyny a adwaenent Martin Harris.

"Ac yr wyf yn gorchymyn i chwi nad oes i chwi bregethu dim ond edifeirwch, ac na ddangoswch y pethau hyn i'r byd hyd oni fyddo yn ddoethineb ynof fi, canys nis gallant ymborthi ar fwyd cryf yn awr, eithr llaeth raid iddynt dderbyn; gan hyny, ni raid iddynt wybod y pethau hyn, rhag iddynt farw. Dysgwch genyf fi, a gwrandewch ar fy ngeiriau; rhodiwch yn llarieidd-dra fy Ysbryd, a chewch dangnefedd ynof fi. Myfi wyf Iesu Grist; myfi a ddaethym trwy ewyllys y Tad, ac yr wyf yn gwneuthur ei ewyllys."

Yr wyf am i chwi gyssylltu y rhan hon o'r dadguddiad a roddwyd i Martin Harris, ag ychydig o eiriau yn y dadguddiad, a elwir y Weledigaeth,

"Fel hyn y dywed yr Arglwydd, mewn perthynas i'r holl rai ag ydynt yn adnabod fy ngallu, ac a gawsant eu gwneyd yn gyfranogion o hono, ac a oddefasant eu hunain, trwy allu y diafol, i gael eu gorchfygu, ac i wadu y gwirionedd, a beiddio fy ngallu—hwynthwy yw y rhai hyny ag ydynt yn feibion colledigaeth, am y rhai yr wyf yn dywedyd y buasai yn well iddynt pe na chawsent erioed eu geni, canys llestri digofaint ydynt hwy, wedi eu dedfrydu i ddyoddef digofaint Duw gyda'r diafol a'i angylion yn nhragywyddoldeb; mewn perthynas i'r rhai y dywedais nad oes faddeuant yn y byd hwn nac yn y byd a ddaw, gan eu bod wedi gwadu yr Ysbryd Glân ar ol ei dderbyn, ac wedi gwadu unig-anedig Fab y Tad—wedi ei groeshoelio iddynt eu hunain, a'i osod yn waradwydd. Y rhai hyn ydynt hwy a gant fyned ymaith i'r llyn o dân a brwmstan, gyda'r diafol a'i angylion, a'r unig rai y bydd gan yr ail farwolaeth awdurdod arnynt; ïe, yn wir, yr unig rai na chant eu gwaredu yn amser priodol yr Arglwydd, ar ol dyoddefiadau ei ddigofaint ef; canys yr holl rai ereill a gant eu dwyn allan trwy adgyfodiad y meirw, trwy fuddugoliaeth yr Oen a laddwyd, yr hwn oedd yn mynwes y Tad cyn gwneyd y bydoedd."

Yr oeddwn yn ewyllysio cyssylltu y ddau ddyfyniad hyn, a chyfeirio yn uniongyrchol at sefyllfa y byd, gan gredu y gall hyn gael ei wneyd yn llesol fel pob peth arall. Mae yr holl ddadguddiadau a roddir, a phob dadguddiad a roddwyd, a phob

mater o ffaith, neu wirionedd, ag a ddadguddir i blant dynion, er eu lles; ac os diwygir arnynt, mewn onestrwydd a gwirionedd, mewn cyfiawnder a gostyngeiddrwydd, er gogoniant Duw, ac er eu hanrhydedd eu hunain, y mae yn les parhaus; eithr os troant oddiamgylch, a gwneyd defnydd drwg o honynt, bydd yn wastadol er eu condemniad; o ganlyniad, gwaith trigolion y ddaear yw adwaen y bendithion a'r breintiau a rydd yr Arglwydd iddynt i'w mwynhau. Dywedwyd gan yr Iachawdwr, tra yn y cnawd, wrth yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, a doctoriaid dysgedig y gyfraith —a gellir ei gymhwyso at bob dosparth a gradd, a phob person yn mhob cydwladoldeb: "hon yw y ddamnedigaeth, ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy nâ'r goleuni."

Felly y mae, y bu o hyd, ac y bydd yn barhaus; pan ddelo goleuni, os gwrthoda dynion y goleuni hwnw, efe a'i condemnia hwynt, ac a ychwanega at eu trallod a'u cystudd. Felly y mae gyda thrigolion y ddaear y dydd hwn, yn gystal ag yn nyddiau yr Iachawdwr, neu mewn unrhyw gyfnod arall o'r byd. Mae goleuni yn dyfod i'r byd, eithr y mae dynion yn dewis tywyllwch; pan wnant hyny, y mae yn profi bod eu gweithredoedd yn ddrwg. Gall yr egwyddor hon brofi yn llesol i ni, ac i bob mab a merch i Adda, y rhai a glywant, ac a gant y fraint o glywed, ac o ddeall drostynt eu hunain.

Pan yr ydym yn cymmeryd golwg ar drigolion y ddaear, ac yn edrych arnom ein hunain, ac yn myfyrio ynghylch ein sefyllfa a'n hamgylchiadau ein hunain, boddlonir ni ein bod, fel pobl, yn cael mwy o ffafr nag un dosparth arall ar wyneb y ddaear. Mae ein bendithion yn cael eu lliosogi i ni, yn fwy nag i un pobl. Meddwn y fraint o wybod pa fodd i ddianc rhag y byd hwn o drallod a phechod; i fyned i mewn trwy y porth cyfyng, yr hwn y llefarwyd am dano gan yr Iachawdwr, a chael bywyd tragywyddol.

A oes unrhyw bobl arall ag sydd yn gwybod yr egwyddorion hyn—ag sydd wedi derbyn allweddau yr offeiriadaeth santaidd, trwy y rhai y gallant achub eu hunain, achub eu teuluoedd, achub eu cymmydogion, ac achub yr oll a wrandawant arnynt? Pa le y mae y cydwladoldeb hwnw? Nis gwn i; felly y gall y gynulleidfa hon ddywedyd, pe gofynid yr un peth iddynt hwythau; chwi a allwch ddywedyd, nis gwyddom.

Yr ydym ni wedi ein bendithio, ac wedi ein bendithio yn fawr: phan fyddom yn myfyrio hyd y nod ar ein trallodion, y ffaith yw, nad ymddangosant i ni yn werth eu crybwyll; ni ddylent byth ddyfod i'n cof. Yr ydym yn cael y fraint o wasanaethu yr Arglwydd, o gynnyddu mewn grâs, a meddu yr hyn sydd gan yr Arglwydd er ein mwyn. Dyma y bobl a fwriada yr Arglwydd iddynt gael eu porotoi i fyned i mewn trwy y porth cyfyng; canys cyfyng yw y porth, a chul yw y ffordd, medd yr Iesu, sydd yn arwain i'r bywydau tragywyddol. Cyfieithir ef yn nghyfieithad y Brenin Iago o'r Hen a'r Newydd Destamentau, "sydd yn arwain i fywyd tragywyddol." Eithr yn ein dadguddiadau diweddar ni, cyfieithir ef, "cyfyng yw y porth, a chul yw y ffordd sydd yn arwain i'r bywydau tragywyddol, ac ychydig sydd yn ei chael."

Pe gofynwn i Saint y Dyddiau Diweddaf, os ydynt oll yn dysgwyl cael myned i mewn trwy y porth cyfyng, y llefarwyd am dano gan yr Iachawdwr; os ydynt oll yn myned i etifeddu bywydau tragywyddol,—atebai pob un yn gadarnhaol. Gobeithiaf eu bod; yn wir, fe achosai lawenydd i mi, pe byddai felly; eithr nis gallaf gredu am fynyd y bydd pob person a dderbynia yr efengyl hon yn barod i fyned i mewn trwy y porth cyfyng, ac etifeddu bywydau tragywyddol. Eithr y mae un ffaith, ac y mae hono yn anwadadwy; nis gallwn ei newid; a dyma yw, pob dyn a fernir yn ol ei weithredoedd, a phob dyn a dderbynia yn ol helaethrwydd ei ddealltwriaeth.

Pob dyn yn mhlith Saint y Dyddiau Diweddaf, ac yn mhlith holl broffeswyr crefydd, ac yna yn mhlith yr holl baganiaid ar wyneb y ddaear, a fernir yn ol eu gweithredoedd. Ai dyna y cyfan? Nage. Pob person a dderbynia hefyd yn ol helaethrwydd ei ddealltwriaeth. Gallai y gofyniad gyfodi, A yw pob person ag sydd yn derbyn y cyfammod newydd a thragywyddol, ac sydd trwy eu gweithredoedd yn ymddarostwng iddo, yn alluog i dderbyn y gogoniant a ddadguddir—y coronau o ogoniant, o anfarwoldeb, a bywydau tragywyddol?—Chwi a ellwch ateb y gofyniad eich hunain; pwyllwch am fynyd.

(*I'w barhau.*)

## EPISTOL Y LLYWYDD WILLIAM S. PHILLIPS, AT Y BUGEILIAID, LLYWYDDION CYNNADLEDDAU A CHANGENAU, A'R HOLL SAINT YN NGHYMRU.

ANWYL FRODYR,—O ddaioni ein Tad Nefol, yr wyf yn cael y fraint unwaith yn ychwaneg, o'ch hannog chwi trwy gyfrwng yr UDGORN, i barhau yn y ffydd, yr hon a gawsoch trwy yr Efengyl ogoneddus hon. Yr ydym mewn byd ag sydd yn llawn o bob math o demtasiynau; ac y mae tuedd ynddynt oll, oddieithr ein bod bob amser ar ein gwyliadwriaeth, i'n harwain i golli y ffydd, ac i dristâu yr Ysbryd Glân. Beth a ddywedwn? a yw *pawb* ag sydd yn tystiolaethu fod yr Eglwys hon yn iawn, yn y ffydd? Nac ydynt; ymdrechwn egluro ychydig ar y pwnc hwn fel y canlyn:—

Yn gyntaf, nodwn y rhai hyny sydd wedi eu hesgymuno o'n plith am eu drygioni, ac sydd yn awr yn tystiolaethu fod yr Eglwys yn *iawn*, ond na ddychwelant yn ol tra mae hwn a hwn ynddi. Gofynaf, a ydynt hwy yn y ffydd? Cyfaddefwn fod ganddynt ychydig o ffydd; ond nid oes ganddynt ddigon er eu hiachawdwriaeth. Mae gweithredoedd rhai o'r fath hyn yn gwadu y ffydd achubol yn hollol, a thruenus fydd eu sefyllfa, ac oddieithr iddynt edifarhau, bydd digofaint yr Hollalluog Dduw arnynt.

Etto, beth a feddyliwch am y rhai hyny sydd yn yr Eglwys, ac yn ymgasglu yngbyd gyda'r Saint ar y Suliau, ac yn cymmeryd o'r bara, ac yn yfed o'r cwpan, ac ar yr un pryd yn casâu eu brodyr, ïe, eu Llywyddion, ac yn dysgu ereill i wneuthur felly, ac yn y sefyllfa hyny yn sefyll i fyny i bregethu a dysgu'r Saint, &c. A yw y dosparth hyny yn y ffydd? Nac ydynt. Ystyriwn hwynt yn waeth nâ'r lleill, oblegid "yr hwn a ddywedo ei fod yn caru Duw, ac yn casâu ei frodyr, celwyddog yw, a'r gwirionedd nid yw ynddo." Hefyd, mae rhyw ran o'r ysgrythyr yn dweyd rhywbeth cyffelyb i hyn,—"Pwy wyt ti yr hwn wyt yn barnu gwas un arall? onid i'w arglwydd ei hun y mae efe yn sefyll, neu yn syrthio, ac efe a gynnelir, canys fe all Duw ei gynnal ef," &c. Mae y dosparth hwn yn Eglwys Dduw yn mhob oes o'r byd. Ond beth a wneir o honynt? Bydded i'r Bugeiliaid, a Llywyddion y Cynnadleddau a'r Cangenau, gymmeryd hyny at eu hystyriaeth. Beth a wnant iddynt? ai eu porthi? Nage; canys nid dyscyblion yr Iesu ydynt yn y sefyll-

fa hon. Ceryddwch hwynt, ac os na edifarhant, esgymunwch hwynt allan o'r Eglwys; ond rhoddwch ddigon o amser iddynt i edifarhau, fel na fydd un esgus ganddynt. Dynion o'r fath hyn, ag a fydd yn gwrthod edifarhau, fyddant y gau-brophwydi yn y dyddiau diweddaf, ac achosant erlidigaethau mawr ar yr Eglwys. Mae yn debyg fod yn rhaid i lawer ddyfod i'r Eglwys hon, fel y delo eu gweithredoedd i'r amlwg; cofied pawb "mai yr hwn a ddyrchafo ei hun, a ddarostyngir; a'r hwn a ddarostyngo ei hun, a ddyrchafir; a'r hwn a adeilada ei frawd, a adeiladir."

Yr ydym wedi bod yn gwneyd ein goreu i ddarparu calonau y Saint i ymgasglu tua thref i Seion, er na chawsom fawr dros 200 yn barod i gychwyn eleni, ond yr ydym yn gobeithio y bydd llawer iawn yn rhagor yn myned y tymmor nesaf; a bydded i bawb sydd â'u hamgylchiadau yn caniatâu, ddarparu eu hunain, ac fe allai y bydd y "Drysorfa Ymfudol" yn alluog i fyned â llawer i ffwrdd: bydded i'r Saint fod yn ffyddlon tuag at hon, fel pob peth arall. Gwnewch sylw neillduol o'r Wythfed Epistol, yn y Rhifyn diweddaf, o eiddo Prif Lywyddiaeth yr Eglwys, a bydded i'r holl Eglwys dderbyn o'i ysbryd. Rhybyddir y Saint i ymgasglu tua thref, rhag i'r ffordd gael ei chau gan y cleddyf, neu newyn. A bydded i'r holl Saint roddi clust i wrandaw beth a ddywed yr Ysbryd wrthynt; a bydded i ffydd yr holl Eglwys gynnyddu, canys y mae ffydd yn dyfod trwy glywed a darllen Gorchymynion a Dadguddiadau Duw. Dysged y Llywyddion i'r Eglwysi ddyfod i ysbryd y Llywyddiaeth yn Seion, a Llywyddiaeth yr Ynysoedd Prydeinig, ynghyd â Llywyddiaeth Cymru; ac wedi i chwi wneuthur hyn, gellwch ddysgwyl bendithion a llwyddiant rhyfeddol. Ychwanegaf yn mhellach, gwneled y Llywyddion gydnabod eu gweinidogaeth, gan ystyried yn fwy llesol ddysgu yr Offeiriadaeth a'r Saint yn eu dyledswyddau, nâ dechreu y gwaith mewn lleoedd newyddion fel peth cyffredin. Gweinydded yr Henuriaid Teithiol a'r Offeiriaid i'r byd, ac adeiladent Gangenau newyddion, megys y byddo'r Ysbryd yn cyfarwyddo, tra fyddo'r Llywyddion yn porthi y praidd, ac yn eu dysgu pa fodd i wasgaru ar y deheu a'r aswy.

Ystyrir yr ychydig nodiadau pwysig hyn, yn deilwng o'ch sylw; bydded eich hystyriaeth a'ch gweithrediad o honynt, yn mwyhau eich galluoedd i wneuthur ewyllys Duw; yr hyn a'ch gwna yn weinidogion galluocach i'r bobl dda a lliosog, ag y

galwyd chwi i lywyddu arnynt. Wrth derfynu, caniatêwch i mi gyd-lawenhau â chwi, fy anwyl gyd-weision, a Saint, yn enw Iesu Grist. Amen.

W. S. Phillips.

14, Castle St., Merthyr, Chwef. 14, 1853.

---

## Y GENADIAETH BRWSSIAIDD.

Yr Henuriaid Orson Spencer a Jacob Houtz a gyrhaeddasant Berlin, Prwssia, ar y 25ain o Ionawr. Ar y 31ain, derbyniasant wys i ymddangos gerbron awdurdodau yr heddgeidwaid. Ar y laf o Chwefror, hwy a ufyddhasant i'r wys, ac a arholwyd, a derbyniasant orchymyn i adael Berlin am 8 o'r gloch boreu dranoeth, neu gael eu halltudio. Yn ganlynol hwy a ymadawsant â'r ddinas hono ar yr 2il o Chwefror, ac a gyrhaeddasant Liverpool ar y 7fed.

Nid peth ysgafn yw i awdurdodau cenedl wrthod gweision yr Arglwydd, a nacâu derbyn eu tystiolaeth; y maent trwy hyny yn troi allwedd iachawdwriaeth yn erbyn eu hunain, ac nis gall goleuni y gwirionedd lewyrchu yn eu heneidiau er dangos iddynt y ffordd i fywyd tragywyddol. Mae y genedl Brwssiaidd yn awr yn nwylaw yr Arglwydd, iddo Ef i wneyd â hi megys y gwelo yn addas. Os bydd i bla, a haint, a newyn, a rhyfel, a chwyldroad, anghyfanneddu y tir, llywodraethwyr y genedl a fyddant yn gyfrifol am hyny, oblegid na wrandawent ar gynghorion yr Arglwydd, pan yr ymddarostyngodd i ddanfon ei weision atynt gyda chynnygion o heddwch ac iachawdwriaeth.—*Star*.

---

## PWY YW YR ERLIDWYR?

Pwy laddodd holl brophwydi Duw,
A Christ a'i apostolion gwiw,
A'r dynion goreu oedd yn byw
Ar wyneb daear gron?
Rhai cenfigenus, llofruddion oe'nt i gyd;
Hen goel-grefyddwyr, twyllwyr y byd.

Pwy laddodd Joseph Smith a'i frawd,
'Nol gwneyd o honynt bob rhyw wawd,

A llawer o'r Mormoniaid tlawd,
Am arddel crefydd Duw?
Rhai cenfigenus, llofruddion oe'nt i gyd;
Hen goel-grefyddwyr, twyllwyr y byd.

A'u gyru yn y gauaf llym
I'r anial dir i fyw ar ddim,
Am arddel crefydd sydd â grym
I achub dynol ryw?
Rhai cenfigenus, llofruddion oe'nt i gyd;
Hen goel-grefyddwyr, twyllwyr y byd.

Pwy sydd yn gwaeddi o un llef
Yn erbyn cenadwri'r nef,
Sy'n casglu'r cyfiawn oll i dref,
Oddiwrth y pläau ddaw?
Rhai cenfigenus, llofruddion y'nt i gyd;
Hen goel-grefyddwyr, twyllwyr y byd.

Pwy sydd yn grwgnach Seion wiw
Yn drigfa i'r Mormoniaid fyw,
I dderbyn o fendithion Duw,
O fewn i'w deml Ef?
Rhai cenfigenus, llofruddion y'nt i gyd;
Hen goel-grefyddwyr, twyllwyr y byd.

Pwy gant eu cospi am eu drwg,
Am wneyd y Saint yn wawd a gwg?
A phwy ddiflanant fel y mwg,
O flaen digofaint Duw?
Rhai cenfigenus, llofruddion y'nt i gyd;
Hen goel-grefyddwyr, twyllwyr y byd.

*Georgetown.* WILLIAM LEWIS.

---

## CAN O ANNOGAETH I'R SAINT.

TON—"Syr Harri Ddu."

HOLL ddewrion Saint,
Mawrhawn ein braint,
Gorfoleddwn yn y gwir;
Pan fo holl elfenau
Y byd yn wenfflam oleu,
Y gwirionedd ddeil ei dir:
Yn mlaen yn eofn trwy bob rhwystrau awn,
Y fuddugoliaeth ar bob gelyn gawn;
A llu y fall dderbyniant daliad llawn
Am eu camwedd cyn bo hir.

A gaiff rhyw rai,
A'u storiau gau,
Ein llesgâu i fyn'd yn mlaen?
Na, boed i ni ymnerthu,
Cawn oll cyn hir feddiannu
Seion Duw, a'i bröydd glân:
Cawn yno'n llon fwynhau o'r ddwyfol wledd,
Pan fyddo ein gelynion gledd yn nghledd,
A holl breswylwyr Babel, anfad wedd,
Dan lid Duw yn gynneu dân.

*Blaen Dowlais.* WILLIAM THOMAS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CREFYDD yw atteg yr egwan, athraw yr anwybodus, athroniaeth y symlyn, areithyddiaeth y defosiynol, meddyginiaeth pechod, cynghorwr y cyfiawn, a dyddanwch yr adfydus.

MWYNEIDD-DRA sydd fath o swyn a ddena gariad pob dyn; a gormod o fwyneidd-dra sydd lawer gwell nâ bod yn rhy brin arno.

YR hwn sydd yn llwyddo yn ei fasgnach, sydd wedi myfyrio yn dda arno yn mlaen llaw; rhai ydynt yn gweithio yn gyntaf, ac yn meddwl wedi hyny.

Os na ddichon dyn gael esmwythdra o'i fewn ei hunan, ni fydd o un lles iddo chwilio am dano mewn un lle arall.

MAE yn anhawdd iawn i ddyn synwyrol fod yn ddyhiryn anfad; gwir awen a arweinia i drefn, gwirionedd, a rhinwedd.

NID yw yr enaid fyth yn segur; ac oni fydd yn myfyrio ar faterion difrifol, efe a dreulia ei nerth ar deganau.

---

TALIADAU O CHWEF. 11 HYD CHWEF. 17.—Gorllewin Morganwg, £10; Dyffryn Conwy, £1; Dinas, 8s 6c; Pontytypridd, 11s 8c; Aberamman, 9s 4c; Hirwaen, 2s 9c; Georgetown, 13s 2c; Merthyr, 10s; Ffynnon-Tydfil, 6s 8c; Troedyrhiw, 3s 2c.—Cyfanswm, £14 5s 3c.

☞ Dymuna y Llywydd J. D. Roberts, o Gynnadledd Sir Frycheiniog, rybyddio y Saint yn gyffredinol, fod Phillip Thomas, o'r gynnadledd hono, wedi ei esgymuno allan o'r eglwys.

CYFEIRIAD.—Dewi Elfed Jones, care of Mr. John Lewis, Saddler, Thomas Street, Llanelly, Carmarthenshire.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 9.] CHWEFROR 26, 1853. [CYF. V.

FNODION CYMMANFA GYFFREDINOL EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

*A gynnaliwyd yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Fawr, yn dechreu Hydref 6, 1852, 10 yn y boreu,—y Llywydd Brigham Young yn llywyddu.*

YN bresennol:—O'r Brif-Lywyddiaeth—Brigham Young, Heber C. Kimball, a Willard Richards.

Patriarchiaid—John Smith, ac Isaac Morley.

O'r Deuddeg Apostol—Orson Hyde, Wilford Woodruff, John Taylor, George A. Smith, Ezra T. Benson, Lorenzo Snow, Erastus Snow, a Franklin D. Richards.

O Brif-Lywyddiaeth y Degau-a-thrugain—Joseph Young, Levi W. Hancock, Henry Herriman, Zera Pulsipher, Albert P. Rockwood, Jedediah M. Grant, a Benjamin L. Clapp.

O Lywyddiaeth yr Estynfa—David Fullmer.

Llywyddiaeth Corwm yr Archoffeiriaid—John Young, Reynolds Cahoon, a George B. Wallace.

Esgob Llywyddol—Edward Hunter.

Ysgrifenydd y Gymmanfa—Thomas Bullock.

*Reporter*—George D. Watt.

Canodd y côr "The Prodigal Son;" pan alwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Young. Canodd y côr, "Lord, in the morning thou shalt hear."

Gweddiwyd gan yr Henuriad Hyde. Canodd y côr, "Come, let us join our cheerful songs."

Yr Henuriad J. D. Ross a alwyd i'r areithfa, yr hwn a sylwodd ein bod yn byw mewn oes o'r byd pan y mae rhyw waith mawr a rhyfedd yn cael ei gyflawni ar y ddaear, a'r hwn sydd yn achosi i'r dysgedig i synu; a hyny yw, cydgasgliad y rhai onest eu calon i'r un lle. Yna efe a gyfeiriodd at eiriau yr Iesu, "Defaid ereill sydd genyf, y rhai nid ydynt o'r gorlan hon; y rhai hyny hefyd sydd raid i mi eu cyrchu," pan na fydd ond un Bugail ac un gorlan, y rhai a ddysgir gan yr Iachawdwr ei hunan. Pan ddaeth yr Iachawdwr yn y cnawd, efe a ddaeth at ddefaid cyfrgolledig Tŷ Israel, ac efe a arosodd gyda'r Iuddewon yn unig. Efe a sylwodd hefyd ar wasgariad y deg llwyth; a'r lluoedd cenedloedd a ddesgrifir yn Llyfr Mormon, ac addewid yr Iachawdwr i ymweled â'r deg llwyth; efe a lefarodd hefyd am brophwydoliaeth Jacob ar ei wely angeu, y cai bugail ei eni yn y dyddiau diweddaf, yr hwn a borthai ddefaid Israel, yn yr ymgasgl-fan—ac a sylwodd ar reoleiddiad Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.

Yr Henuriad Orson Hyde a sylwodd fod neillduolrwydd araeth yr Henuriad Ross yn ei gwneyd yn ddyddorawl; a phan fyddo un gwirionedd yn cael ei amlygu, ein golwg a gyrhaedda yn mhellach—ein dymuniadau am wirionedd a gynnyddant. Mae y cenedloedd a broffesant Gristionogaeth, yn gweddio yn barhaus am i'r dydd ddyfod pan ddaw yr Iachawdwr i deyrnasu fel Brenin y cenedloedd; ac y mae'r amser yn cyflym ddynesu pan y teyrnasa yr Iachawdwr yn Frenin ar y cenedloedd fel y gwna yn awr yn Frenin ar y Saint, ac y cymmer feddiant o'r hyn y tywalltodd ei waed drosto: a'r cenedloedd hyny sydd am gadw y gallu oddiwrtho ef, a losgant eu dwylaw.

Yr Henuriad Jedediah M. Grant a ddywedodd,—Trwy ddadguddiadau Duw i'r brawd Joseph, daeth ei feddwl yn alluog i reoleiddio yr Eglwys, gyda Phrif-Lywyddiaeth, Corwm o Ddeuddeg Apostol, Uchel Gynghor; a phan gawsom un Corwm o'r Degau a thrugain, meddyliem fod genym lu o Henuriaid, tra yr ymledaenai yr Eglwys gyda dysclaerdeb ac ardderchogrwydd anadnabyddus yn flaenorol. Yna efe a lefarodd ar bwnc y gwyrthiau: mae yn wyrth, meddai ef, i bob dyn anwybodus pa fodd y dalir i fyny y tŷ hwn heb golofn; neu pa fodd y mae gwybod-

aeth yn cael ei danfon o Maine i New Orleans mewn oddeutu mynyd, yn gymmaint â phan borthodd yr Iachawdwr y dyrfa â dwy dorth fychan o fara: megys ag yn nghreadigaeth y ddaear, efe a wyddai pa fodd i grynhoi yngbyd y rhanau cyfansawdd wrth ei ewyllys ei hun, fel ag i borthi y newynog. Nid oes yno un wyrth, ond yn unig i'r anwybodus; y mae hefyd yn wyrthiol i freninoedd a phenaethiaid y ddaear, fod Saint y Dyddiau Diweddaf yn un, eithr nid yw yn wyrthiol i ni; yr ydym ni yn deall yr egwyddor wrth ba un y mae Ef yn llywodraethu, er mai y wyrth fwyaf yn mhlith y cenedloedd yw gweled yr Eglwys yn myned rhagddi mewn ardderchogrwydd ac undeb.

Canwyd hymn gan y côr.

Y Llywydd a wahoddodd y Saint i ddyfod i fyny yma yn ddyddiol ac addoli yr Arglwydd; canys y mae genym neuadd yn awr ag sydd yn ateb dyben da; ac yn awr gwahoddaf chwi i ddyfod yma gyda dwylaw glân a chalonau pur; a chan mai y fory yw ein "dydd ympryd," os oes unrhyw dlodion, dywedaf wrth yr Esgobion, chwiliwch hwynt allan, a phorthwch hwynt; ac os nad oes neb, yna cadwch y bwyd erbyn diwrnod arall.

Yr ydym am i chwi aros yn y Gymmanfa hyd nes y parotoer eich calonau i'r Ysbryd Glân drigo ynddynt, fel yr adwaenoch drosoch eich hunain wirionedd yr Efengyl. Yna efe a ollyngodd y bobl trwy weddi.

*Am ddau*, galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Young. Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan yr Henuriad Zera Pulsipher; ac yna canwyd.

Yr Henuriad Ezra T. Benson a sylwodd mai yr achos fod y diafol yn ddig wrth Saint y Dyddiau Diweddaf yw, o herwydd eu bod yn mynu mwynhau eu hunain, ac yn cael eu harwain trwy ddadguddiad: yna llefarodd ynghylch ymsefydlu yn y gwahanol ddyffrynoedd, er mwyn i'r Saint oll gael etifeddiaeth i fyw arni, a pharotoi lleoedd i Saint ereill i ymgasglu, o blith pob cenedl, llwyth, iaith, ac hinsawdd, ar y ddaear. Mae y pregethwyr yn y byd Cristionogol yn rhybyddio eu praidd i beidio credu mewn "Mormoniaeth;" ac etto y mae genych chwi, chwiorydd, allu i iachâu y claf, trwy osodiad dwylaw, yr hyn ni allant hwy. Yr oedd yr athrawiaeth a bregethasom boreu heddyw yn ddaionus a gwirioneddol; ac os deuwn i fyny gerbron yr Arglwydd, fel y

ceisiwyd genym, ni a gawn amser da yn ystod y Gymmanfa hon, ac a gawn dystiolaeth o wirionedd "Mormoniaeth."

Efe a ofynodd y cwestiwn,—Pa beth, yn enw synwyr cyffredin, y mae neb o'r bobl yn gadael eu hanifeiliaid a'u moch i redeg yn rhyddion? ac efe a atebodd, mai nid dyn cyfiawn, nac un o Saint y Dyddiau Diweddaf, yw yr hwn a wnelo felly; canys y personau hyny a droant eu hanifeiliaid a'u moch allan yn rhyddion, a wnant felly er mwyn iddynt ymborthi yn ngerddi eu cymmydogion, mewn modd anonest; tra y mae deg mil o Saint yn dyfod i mewn yr hydref hwn, y rhai sydd i gael eu diwallu, trwy beidio goddef i'n gerddi a'n maesydd gael eu dystrywio.

Peroriaeth gyssegredig ar y melodeon, gan yr Henuriad Grimshaw.

Y Llywydd Young a sylwodd:—Yr wyf yn dysgwyl, yn ol pob tebygolrwydd, y byddaf yn alluog i lefaru ond ychydig iawn yn ystod y Gymmanfa hon. Mae fy ysgyfaint yn y fath sefyllfa, fel pan lefaraf yn ddigon hir i foddloni cynnulleidfa, y maent yn fy nghystuddio yn enbyd.

Mae genyf ychydig o destunau i'w rhoddi i'r brodyr a fyddo yn llefaru, ynghylch rhai o'r pethau a ddymunaf osod gerbron y Gymmanfa er i chwi sylwi arnynt.

Y cyntaf sydd ofyniad,—A gawn ni ddechreu adeiladu Teml y gwanwyn nesaf, fel y gallom dderbyn ein cynnysgaethiadau yn fwy cyflawn? Y mae llawer yn y gynnulleidfa hon ag ydynt yn gwybod nad ydym yn rhoddi yr holl gynnysgaethiadau, ac nis gallwn ychwaith, yn gyfreithlawn, hyd nes yr adeiladwn Deml. Drachefn, y rhanau hyny ag ydynt wedi eu rhoddi yn barod, ac a roddir etto, yn y lle a ddefnyddiwn yn bresennol, a roddir drosodd etto yn y Deml, pan y caffo ei gorphen. Y cynnysgaethiadau a roddwn yn awr, a roddir yn unig trwy ganiatâd, gan nad oes genym dŷ yn yr hwn i weinyddu yr ordinhadau hyn o iachawdwriaeth, ag sydd yn gyfreithlawn, er fod genym le cysurus, yr hwn a gyflwynasom i'r Arglwydd; ac y mae'r brodyr sydd yn myned i mewn yno, yn gwybod, ac yn gallu dwyn tystiolaeth pa un a yw Ysbryd yr Arglwydd yno ai peidio.

Y peth nesaf a ddygaf ger eich bron, yw—Mae arnom eisieu gweithwyr; seiri maen i godi mur oddiamgylch y Temple Block. Yr ym yn ewyllysio cael mur er diogelu y block, fel pan ddech-

rhuom y Deml na fyddom dan yr angheurheidrwydd o gael ein gwasgu a'n rhwystro gan ymwelwyr. Mae rhan o'r mur ar yr ochr ogleddol wedi ei hadeiladu yn barod, ac yn cyfodi oddeutu pedair troedfedd uwchlaw gwyneb y ddaear; ac yr ydym yn meddwl gosod oddeutu deg troedfedd o *adobies* ar hwnw, a'r oll i gael ei goroni â phigau amddiffynol o chwech troedfedd, yr hyn wna y cyfan o'r mur yn ugain troedfedd yn uwch nâ'r ddaear.

Y pen neu'r testun nesaf, yw,—Mae arnom eisieu un cant o deuluoedd i fyned i swydd Haiarn, lle y dysgwyliwn y gweithiant haiarn. Mi a ddywedaf, er cysur i'r rhai a garant arian, ac a deimlant megys pe na allent wneuthur hebddynt, mor gynted ag y daw y gweithfeydd haiarn hyn mewn gweithrediad llwyddiannus, y bydd yn le arianog.

Yr ydym hefyd eisieu un cant o deuluoedd i fyned i swydd Millard; dyna le eisteddle bwriadol llywodraeth y Diriogaeth hon: y mae yn ddyffryn hardd, ac yn un o'r rhai goreu ag ydym etto wedi sefydlu.

Y peth nesaf a wnaf sylwi arno yw,—Yr ydym am gael rhyw ugain o genadon i deithio trwy y sefydliadau hyn. Mae un cant wedi eu penodi i fyned i'r holl fyd; a gellir chwyddo y nifer i ychydig yn fwy, yn flaenorol i ymadawiad y gyfran hono o'r genadiaeth ag sydd i fyned yn ddeheuol. Meddyliwn y gall y brodyr hyny a benodwn i deithio gartref, fod mor ddefnyddiol yma ag mewn unrhyw ran o'r byd, i ddysgu, cysuro, ac adeiladu y Saint yn y ffydd santeiddiolaf.

Gall y peth nesaf, fe allai, fod yn rhyfeddod i rai. Mae yr hyn a ddywedwyd yma y Sabboth diweddaf gan y brawd Call, ac ereill, yn rhoddi achlysur i'r testun hwn, pa un wyf yn ei roddi i'r brodyr i bregethu arno; hyny yw, Fod i'r segurwyr a'r torthwyr adeiladu i mi dŷ da. Os oes rhywrai yn achwyn yn nghylch fod y Brif-Lywyddiaeth yn byw ar ddegwm, yr wyf am i'r dynion hyn adeiladu i mi dŷ gwych a chyfleus, gwerth oddeutu 25,000 o ddolars.

Fy nhestun nesaf yw, am i'r bobl hyn beidio pedlera ymaith eu gwenith megys ag y gwnant yn bresennol, ac megys y gwnaethant y flwyddyn ddiweddaf; peidio gwerthu eich gwenith am 50 cent y bwshel, canys yn ol pob tebygolrwydd, bydd genych i'w brynu yn ol etto oddiwrth yr un dynion am bedwar neu bump dolar y bwshel. Mi a ddywedaf etto ychwaneg ar y

pwnc hwn,—os na fydd i'r cydwladoldeb hwn werthfawrogi bendithion yr Arglwydd, a roddwyd i ni oddiwrth ein mam ddaear—canys y mae ein Tad nefol yn achosi iddi ddwyn allan yn ei nerth, er mwyn y brodyr a'r chwiorydd sydd yn dyfod yma o wledydd pellenig—mi a ddywedaf wrthych, yn enw yr Arglwydd Dduw, fy mod yn gwybod y caiff porth digonedd ei gau, ac y caiff eich gwenith a'ch ŷd eu mallu; fe beidia y ddaear roddi ei chynnyrch mewn nerth, os na fydd i'r bobl hyn werthfawrogi eu bendithion, a gwella arnynt. Yn mhellach, os gwerthfawroga y bobl hyn y bendithion yma, ni a gawn weled yr amser etto, yn y mynyddoedd hyn, pan ddaw y bobloedd o'n gwledydd genedigol am fara. Os byddwn ni yn ffyddlawn, os byddwn yn onest, os byddwn yn ostyngedig, ac yn gwerthfawrogi bendithion y nefoedd y rhai a dywelltir arnom, ac yn gwella arnynt, daw dyeithriaid i geisio bara ar ein dwylaw; eithr os esgeuluswn ein dyledswydd,—os awn yn falch, segur, hunanol, neu gybyddlyd, ac anghofio ein Duw, y ddaear a beidia roddi o'i ffrwythau; hwy a ddifir, a ninnau a fyddwn mewn tlodi; gellwch fod yn sicr o hyna, frodyr a chwiorydd.

Yr wyf wedi rhoddi y testunau hyn i'r brodyr, ac mi a ddywedaf wrth y gynnulleidfa hon,—os oes yma ryw ddyn ag sydd yn teimlo fod arno eisieu tywallt ei enaid yma gerbron y bobl—deuwch i'r pwlpud hwn: nyni yw eich brodyr. Os ydych yn digaloni—os nad oes genych ymddiried i ddyfod i'r areithfa, cewch y fraint o godi ar eich traed yn y gynnulleidfa. Ni a ddaethom ynghyd i addoli yr Arglwydd, i adeiladu ei Deyrnas. Dyben y Gymmanfa hon yw myfyrio, nid yn uniongyrchol am yr hyn a berthyna i ni yn yr amser presennol, eithr i osod cynlluniau erbyn bywyd dyfodol; yr ydym yn ymdrechu gosod sylfaen dyrchafiad a dedwyddwch dyfodol. Dyma'r lle i ni fyfyrio ynghylch y pethau hyny ag y gall ein galluoedd naturiol weithredu arnynt trwy ein gyrfa, gweinyddiaeth, llafur, &c., dyfodol. Yr ydym wedi ymgasglu ynghyd yn y Gymmanfa hon, i ymddyddan ynghylch pethau Duw, a pha beth fydd er lleshad mwyaf ei deyrnas Ef ar y ddaear—i roddi diolchgarwch a mawl iddo am yr hyn a wnaeth, ac y mae yn wneyd, ac a wna er ein mwyn ni, os byddwn yn ffyddlawn. Duw a'ch bendithio chwi. Amen.

Yr Henuriad Levi W. Hancock a ddywedodd, fod ei galon yn

deimlo i orfoleddu ei fod allan o grafangau y dynion hyny, y rhai a'i hyspeiliasant ac a'i gyrasant ef o'i artrefle; ac y mae yn dda ganddo ei fod yn nyffryn heddwch, lle y mae calonau y plant yn cael eu troi at eu tadau, ac y gallwn ninnau orfoleddu yn achos ein Duw, &c.

Yr Henuriad Zera Pulsipher a gofiai yr amser pan oedd ganddo i deithio 325 o filltiroedd er cael cynghor o henuriaid—gan gymharu dechreuad yr Eglwys â'r hyn yw yn bresennol; a dygai dystiolaeth ei fod wedi cael gweledigaeth, pan yr ymddangosodd angel iddo, a Llyfr Mormon yn ei law; ac annogai y rhai sydd newydd ddyfod i'r dyffryn, i gadw gorchymynion Duw, bod yn ostyngedig ac ymbilgar, a pharchu ac ufyddhau cynghor yr awdurdodau; a dangosodd fod y rhai hyny ag ydynt yn esgeuluso eu gweddiau a'u dyledswydd, yn gyffredin yn syrthio allan o'r Eglwys, ac yn cael eu damnio.

Y Llywydd Kimball: Yr ydych wedi clywed y gwahanol destunau a gyflwynwyd ger eich bron gan y Llywydd Young: nid yw wahaniaeth pa un a gymmerwn mewn llaw gyntaf. Y mae llawer o gynlluniau yn cael eu gwneyd er mwyn cael eich gwenith am 75 neu 80 cents y bwshel—daw llawer yma y rhai a deimlant yn eu calonau i achwyn oblegid y Llywydd Young ac ereill—gofyna yr ymfudiad presennol sydd yn dyfod i mewn yn agos i 100,000 o fwsheli o ŷd i'w porthi hwy a'u hanifeiliaid; ac y mae cynnifer o bersonau heb hyd y nod eu bara eu hunain, y rhai a ofynant yn agos gymmaint â hyny yn ychwaneg; ac y mae yn ddiau genyf na chafodd erioed gymmaint o lafur ei ddinystrio yn y dyffryn unrhyw flwyddyn yn flaenorol i hon; ac y mae y brawd Brigham yn dweyd, "Cymmerwch eich anifeiliaid heno, ac ymddeadellwch hwynt." A wnewch chwi hyn? [Atebodd y Saint, "Gwnawn."] Ac efe a annogodd y Saint i werthu eu dillad i'r ffermwyr am wenith, fel ag i gadw ffwrdd rhag y marchnadwyr; ac addurnwch eich palasau â gwaith cartrefol: ac os na ellwch gael edafedd cotwm i wau eich llawr-leni, plethwch y bratiau, ac addurnwch eich palasau â llawr-leni bratiau.

Mi a ddywedais wrthych oll, ymarferwch rinwedd, callineb, cynnildeb; byddwch arbedus, a byddwch ddiwyd, a chwi a fendithir. Boed i'r Arglwydd eich bendithio. Amen.

Brawd ieuanc, ag oedd newydd gyrhaedd, enw yr hwn nis clywsom, a safai yn yr areithfa am ychydig o fynydau: gorfol-

eddai wrth weled cynnifer mor ewyllysgar i ufyddhau cynghorion yr Arglwydd, a dywedodd mai ei resymau dros ddyfod i'r Dyffryn oedd, fel y gallasai gael ei ddysgu gan Brophwyd yr Arglwydd.

Canwyd hymn gan y côr, pan ddygwyd crwth ddwbl y byr-dôn i ymarferiad am y tro cyntaf yn y lle hwn.

Gweddiwyd gan yr Henuriad Lorenzo Snow.

Addoedwyd hyd ddeg, boreu dranoeth.

*Am chwech yn yr hwyr*, cyfarfyddodd Henuriaid Israel yn y Tabernacl. Galwyd i drefn gan yr Henuriad Lorenzo Snow.

Canodd y gynnulleidfa, "Come all ye sons of Zion." Gweddiwyd gan yr Henuriad Snow. Canodd y gynnulleidfa, "Glory to Thee, my God, this night."

Yr Henuriad F. D. Richards a ufyddhaodd i'r alwad a wnaed arno i bregethu yr hwyr hwn; a chan na fu y gair "nis gallaf" erioed yn ei eir-lechres, nid oedd o dan unrhyw drafferth i'w ddileu. Yr oedd y cyfrifoldeb ag oedd ef dano, yn ei alluogi yn wastadol i ddysgwyl am gynnorthwy yr Ysbryd Glân.

Y Saint yw yr unig bersonau ar y ddaear ag a allant wir orfoleddu, ac a wyddant fod Duw gyda ni; eithr y byd, heb wybod dim am allu Duw, a briodolant ein llwyddiant i hyn—fod ein blaenoriaid yn rai o ben ysbrydion yr oes. Mae ein gweled yn adeiladu dinasoedd, ac yn mhen ychydig flynyddoedd yn cael ein gyru o honynt, ac wele, mewn ychydig amser, yr ydym yn gyfoethocach nag o'r blaen, yn eu hachosi i ddweyd ein bod yn meddu gallu mawr a phwerus. Ni a gawsom fan ar y ddaear ag nad oedd yn ddymunol i unrhyw ddyn i ymsefydlu; a diolch i'r Arglwydd, mae Saint y Dyddiau Diweddaf wedi cymmeryd meddiant o ran wrthodedig o'r ddaear, ac yn awr gallwn achosi i'r anialwch flodeuo fel y rhosyn, a'r diffaethdir lawenychu.

Efe a gefnogodd achos gwaith cartrefol; ac yna, meddai efe, nid yn unig ni a gaem gasgliad pobloedd, eithr hefyd gasgliad defnyddiau. Pe buasai yr arian ag sydd wedi eu talu am siwgr yn unig, yn awr yn y Dyffryn, buasai yma gyfrwng cylchredol cysurus i'r holl Diriogaeth.

Drachefn, os gallwn gael gwaith haiarn wedi ei ddechreu yn ein plith, fe fydd o leshad mawr i'r Diriogaeth. Mae y brawd Erastus Snow a minnau yn myned i lawr i swydd Haiarn, gyda llwyth o nwyddau, i ymuno â'n brodyr yno, ac edrych os gallwn wneyd hyny yn fendith i'r cydwladoldeb, ac felly arbed trysor-

feydd y Diriogaeth; gwna hyn roddi sefydlogrwydd i'r budd arianol. Yr wyf yn edrych yn mlaen ychydig o flynyddoedd, pan y gallaf weled y gwlan yn cael ei gymmeryd oddiar y ddafad, a'i weithio yn frethyn hyfrydol, gan ein dwylaw ein hunain; ac yna chwi a wnewch gau i fyny rodfa trosglwyddiad allan o arian, am y peth hwnw hefyd.

Yma yn y dyffrynoedd hyn, gallwn weled wyneb yn wyneb, a theimlo calon dyn yn curo mewn atebiad i'n heiddo ein hunain; eithr os ewch allan i'r byd, chwi a gewch allan yn ddiau fod pob dyn drosto ei hunan, a'r diafol drostynt i gyd. Yr wyf yn edrych yn mlaen at yr amser pan fydd dynion am ddyfod i gael sefydliad ac enw yn ein mysg, er mwyn elw bydol; ïe, frodyr, fe ddaw yr amser, pan fydd gan y Llywyddiaeth i ddefnyddio eu gallu mwyaf a'u pryder er rhwystro dyfodiad diafliaid i'n plith, yn gymmaint felly ag yr ydym ni yn awyddus i fedyddio dyn er maddeuant o'i bechodau.

Frodyr, y mae genym i fyw yn ol yr efengyl, neu ynte mae ein ffydd yn ofer. Mae yr Arglwydd yn ein mawrygu ni yn ngolwg y byd, megys ag y gwnaeth yn fynych pan yr oeddem yn Nauvoo: gwnai personau ddyfod o Boston i Gymmanfa; byddai eu llygaid mor fawrion fel y dychwelent ac y cyhoeddent yn bresennol oddeutu dwbl y nifer ag oedd yn yr holl ddinas, &c.

Yr Henuriad W. Woodruff: Gwir a ddywedwyd ein bod ni yn cynnyddu mewn gwybodaeth a doethineb, a'n bod yn teimlo llaw Duw yn ein harwain; etto y mae ar y bobl hyn un bai, a hyny yw, rhedeg i ystordŷ Cenedl-ddyn a gwario y ddolar olaf a feddant, yn hytrach nâ myned at frawd yn yr Eglwys; y mae yn fai yn Israel, ac fe ddylai gael ei attal. Pa cyhyd y cynnaliwch chwi ddynion nad ydynt yn dal i fyny y Deyrnas hon, yn hytrach nâ dal eich hunain i fyny? Y dynion ag oeddynt wedi sugno gwaed bywyd cydwladoldeb Nauvoo, oedd y rhai cyntaf i dynu'r dûr arnom a'n gyru o'n gartrefleoedd; ac nid wyf yn ofni dywedyd, pe byddai i'r Saint adael y dyffrynoedd hyn, ac i'r Cenedloedd gymmeryd meddiant o'n tai, a'n ffermydd, na allent fyw yma, a buasai newyn yn eu canol yn y dyffrynoedd hyn.

Yna yr Henuriad O. Hyde a gododd i lefaru; eithr yr oedd yr Ysgrifenydd dan yr anghenrheidrwydd o ymadael, o herwydd afiechyd.

(*I'w barhau.*)

## PREGETH ARALL GAN Y LLYWYDD B. YOUNG,

*A draddodwyd ar ddydd Sul, Awst* 15, 1852, *mewn ffordd o barhad ar y pwnc a driniodd y Sul blaenorol.*

[Parhad o dud. 127.]

Mi a gyfeiriaf eich meddyliau at Abraham; efe a fu byw lawer o flynyddau heb blant, ac a ymddyddanodd yn ddyfal â'r Arglwydd er gwybod os byddai i'w enw gael ei ddileu o'r llyfr, neu os byddai i ddarfod. Yr oedd efe yn ddyn cyfiawn, yn ddyn da, ac yn ymddyddan â'i Arglwydd; yr oedd yn derbyn dadguddiadau oddi uchod, ac yn cyfrinachu â bodau nefol; tra mae ei gri parhaus oedd, O, Arglwydd, a erys fy enw yma? Gellwch ddarllen yn y Beibl, pa fodd y cafodd ef addewid, a'i wraig yn ddiau a ymddug iddo fab yn ei hen ddyddiau. Efe a gafodd yr addewid hon: "Abraham, fy mab, chwi a gewch hiliogaeth, a chenedl fawr a darddant o'ch lwynau; chwi a dderbyniwch ddymuniad eich calon. Pa beth a ellwch chwi ddymuno, Abraham?" Yr wyf am wybod os mai dyma fydd diwedd fy hiliogaeth, ac os yw fy enw i aros yma? Nac yw, medd yr Arglwydd, ar eich hiliogaeth chwi ni fydd diwedd. Yr ydych yn cofio yr hyn a ddywedodd yr apostol ynghylch y mater hyn. Dyma yw; ei had ef a fydd fel y tywod ar làn y môr, ac fel y sêr yn y ffurfafen, o ran lliosogrwydd; nis gallant gael eu rhifo, o'r pryd hwn allan ac yn dragywydd; y maent yn ddiddiwedd, ac o hyd yn parhau i amlhau ac amlhau.

Dyma hiliogaeth Abraham yn y tŷ hwn; mae yn agos yr holl gynnulleidfa hon yn gynnwysedig o honynt; ac y maent ar eu cynnydd, gan ymledaenu ar y deheu ac ar yr aswy, yn ol yr addewid a wnaed i Abraham, a'r bendithion yr oedd efe yn eu taer geisio. Yr wyf yn crybwyll hyn er eich adgoffa chwi o un ffaith; y mae yn fendith fawr, ac yn un o'r rhai mwyaf a ellir eu rhoddi i fôd marwol—sef derbyn cadarnhad yr Hollalluog, llef Duw wrth unrhyw ddyn, yn dweyd y caiff etifeddu bywydau tragywyddol. Y rhodd o fywyd tragywyddol, yw y fwyaf o bob rhoddion a ellir eu rhoddi i ddynolryw.

Pan yr ydym yn rhoi cam i gydwladoldebau ereill, neu fyfyrio yr hyn sydd wedi myned heibio, a thaflu golwg ar ein cyn-deidiau, pa beth fydd eu sefyllfa—pa beth fydd eu tynghed? Mi a

allaf ddywedyd wrthych, a chwi a ganiatewch i mi farnu y mater; nid wyf, er hyny, yn myned i'w barnu, a chyhoeddi dedfryd arnynt; eithr y mae eu sefyllfa yn eglur i'r rhai hyny sydd yn deall.

Yr oedd fy nhad, a'm tadcu, a'm henafiaid, yn rai o'r crefyddwyr manylaf ag oedd yn byw ar y ddaear; diammau y gellwch chwithau ddweyd yr un peth am yr eiddoch chwithau. Am fy mam, yr hon a'm hymddug, gallaf ddweyd, na fu gwell menyw nâ hi erioed yn byw yn y byd; y mae genyf deimladau mab tuag ati; fe ddylwn eu meddu—y mae hyny yn iawn; eithr yr wyf yn barnu y mater o barthed iddi hi, oddiwrth egwyddorion ac ysbryd yr addysgiadau a dderbyniais oddiwrthi.

A gefnogai hi un o'i phlant yn y weithred leiaf ag oedd yn feius, yn ol ei thraddodiadau? Na wnelai, ddim yn y radd leiaf. Fe gefais i fy nwyn i fyny mor fanwl, mor gadarn yn ffydd y grefydd Gristionogol, gan fy rhieni, nes y meddyliwn pan ddywedwn "diafol," fy mod wedi tyngu yn dra drygionus, gan nad ar ba achlysur, neu o dan ba amgylchiadau y dygwyddai; pe defnyddiwn enw y diafol, mi a gawswn yn ddiau fy ngheryddu, a hyny yn llym. A wnai fy nhad neu fy mam ganiatâu i rai o'u plant ddweyd "*darn it?*" A oeddynt hyd y nod yn cael eu caniatâu i ddweyd "*I vow?*" Nac oeddynt. Pe dywedem ni y naill neu'r llall o'r geiriau hyn, ni a gaem ein fflangellu o'r herwydd. Nid wyf yn dweyd na ddywedasom y cyfryw eiriau pan allan o olwg ein tad a'n mam; eithr os deuai hyny rywfodd i'w clustiau hwy, yr oeddem yn sicr o gael ein ceryddu.

A glywais i erioed ddyn yn rhegu yn nhŷ fy nhad? Naddo, erioed yn fy mywyd. Ni chlywais erioed fy nhad, neu unrhyw berson o amgylch ei dŷ, yn rhegu cymmaint â dweyd, "darn it," neu "curse it," neu "the devil." Felly, chwi welwch fy mod wedi fy nwyn i fyny yn lled fanwl. Yr oedd fy mam, tra y bu byw, yn dysgu ei phlant yr holl amser i anrhydeddu enw y Tad a'r Mab, ac i barchu y Llyfr Santaidd; hi a ddywedai, darllenwch ef, cadwch ei gynghorion, a chymhwyswch hwynt at eich bywydau, cyn belled ag y galloch; gwnewch bob peth sydd yn dda; na wnewch ddim sydd yn ddrwg; ac os gwelwch rywun mewn caledi, gweinyddwch i'w anghenion; na oddefwch i eiddigedd gyfodi yn eich mynwesau, oblegid os gwnewch, chwi a orchfygir gan y drwg. Nis gwn i mi erioed wneyd cam â'm

cymmydog, hyd y nod o werth pin. Dysgwyd fi, pan yn blentyn, i beidio cymmeryd pin oddiwrth ddrws cymmydog, eithr myned ag ef i'r tŷ, a'i roddi i rai o'r teulu. Ni wnaeth fy mam na'm tad erioed gefnogi neb o'u plant mewn dim er gwneyd cam â'u cymmydog, neu eu cyd-ddyn, hyd y nod pe cawsent eu niweidio ganddynt. Os ydynt wedi fy niweidio i, medd fy nhad, gadewch i mi ddychwelyd da am ddrwg, a'u gadael yn llaw yr Arglwydd; efe a'm bendithia i am wneuthur yn iawn, ac a'u melldithia hwy am wneuthur ar gam.

Mi a grybwyllais fy rhieni fy hun, a'u haddysgiadau i'w plant, yn unig er mwyn dwyn o flaen eich meddyliau y miloedd, a'r miliynau, a'r miloedd o filiynau o drigolion y ddaear, y rhai ydynt wedi byw, ac wedi myned ymaith oddiar yr esgynlawr gweithrediad hwn: a'r miliynau ag sydd yn awr yn byw, bwyta, yfed, ac yn ymwneyd yn ddiwyd â gorchwylion braidd anorphenol y bywyd marwol, megys yr ydym ni; pob un yn symud yn ol eu galwedigaeth eu hunain, ac yn ol eu golygiadau a'u drychfeddyliau eu hunain am bethau; eithr y maent oll yn gyffelyb yn anadlu yr awyr rydd, ac yn yfed o'r dwfr rhydd; ac y maent oll gerbron yr Arglwydd. Yr wyf yn dwyn i sylw y nodiadau bychain hyn er parotoi y ffordd i'r gofyniad, Pa beth ydych yn myned i wneuthur â holl drigolion hyn y ddaear?

Mae y Methodistiaid yn ateb, mae yn rhaid i chwi ddyfod i'r eisteddle gobeithiol, neu ynte gael eich soddi i'r llyn hono o dân a brwmstan, ac yno i fyw yn dragywydd, heb ddiwedd ar eich poenedigaeth, yn mhlith diafliaid a roddir ar waith i'ch pygo chwi o amgylch, gan ychwanegu brwmstan at dân, a thân at frwmstan. Yr ydych i aros yno am filiynau, a miloedd o filiynau, a miliynau o biliynau o flynyddoedd, a'r oll o'r gweddill a all dyn feddwl am dano ar ddull ffigyrau; pan fyddoch wedi byw yno gynnifer o flynyddoedd, nid ydych ddim agosach i ddiwedd y boenedigaeth ddychrynllyd hon, nag oeddych pan ddechreuasoch gyntaf.

Mae hyn wedi ymddangos i mi, er fy mabandod hyd y dydd heddyw, yn ffolineb hollol, sef siarad am drigolion y ddaear yn cael eu colli fel hyn yn anadferol; siarad am fy nhad a'm mam i, a'r eiddo chwithau, neu ein hynafiaid, y rhai a fuont byw yn ffyddlawn yn ol y goleuni goreu a feddent, eithr oblegid na feddent y cyfammod tragywyddol, a'r offeiriadaeth santaidd yn eu

mysg, y caent fyned i uffern, a rhostio yno i bob tragywyddoldeb. Mae yn ffolineb i mi; yr oedd yn wastad, ac y mae etto.

Pa beth ydych yn myned i wneuthur o honynt? Mi a ddywedaf wrthych. Cymmerwch y Methodistiaid, a phob diwygiwr, o'r diweddaf, yn ol hyd at y Brenin Iago, yr hwn a ymneillduodd oddiwrth awdurdodau y Pab; a'r cannoedd a'r miloedd ag sydd yn awr yn byw ar y ddaear, ag sydd wedi byw a myned heibio, y rhai na broffesant un grefydd, eithr a safant o hirbell oddiwrth bob pleidiau; yn mhlith y rhai ag ydynt wedi meirw, a'r rhai ag ydynt yn byw; y mae lluoedd wedi bod, ac yn bod, mor dda ag y gwyddant pa fodd i fod.

Yn awr y pwnc yw, gwybod pa beth yr ydym yn myned i wneyd o honynt. A ydym yn myned i'w gyru hwynt i uffern ddiddiwedd? Gofyna hyn ychydig o eglurhad; canys pe byddwn i yn dywedyd eu bod oll yn myned i uffern, yn ddiau mi a ddywedwn y gwirionedd; ac mi a allaf ddywedyd, megys ag y dywedais y Sabboth diweddaf; y mae pawb yn myned yno, y sant a'r pechadur, mewn un ystyr o'r gair.

Mae rhesymau dros hyn; a gwaith dyn yw deall pa beth ydynt; gan osod pob peth yn ei le ei hun; gan ddosparthu a gosod pob peth lle y perthynant, er gwneuthur athrawiaeth iachawdwriaeth yn gyflawn. Mae rhag-ordeiniad, er enghraifft, a rhad râs, yn athrawiaethau gwirioneddol, eithr mae yn rhaid eu cyssylltu ynghyd yn briodol, a'u dosparthu yn gywir, fel ag i achosi cyd-darawiad rhwng y ddwy athrawiaeth groes-ymddangosiadol hyn. Mae yn rhaid i ni wybod, pan fyddo yr Arglwydd yn llefaru, pa beth y mae yn siarad yn ei gylch, ac am bwy y mae yn siarad,—mae yr oll, a chryn lawer yn rhagor, yn anghenrheidiol er cael gwybodaeth briodol am holl gynllun yr iachawdwriaeth.

Gofynaf i chwi drachefn, pa beth ydym yn myned i wneyd o dad a mam? A ydych yn myned i'w danfon i golledigaeth, a'u gadael i ymdrabaeddu mewn trueni dychrynllyd a phoenedigaeth ddiddiwedd? Nac ydych; nid ydym yn myned i wneyd dim o'r fath beth; eithr ni a'u gosodwn lle y perthynant.

Yn awr deallwch, fe ddaeth yr holl ysbrydoedd oddiwrth Dduw, a hwy a ddaethant yn bur o'i bresennoldeb, ac a osodwyd mewn pebyll daearol, y rhai a gorffolwyd i'r unig ddyben hwnw; ac felly yr ysbryd a'r corff a ddaethant yn enaid byw. Os byddaf

i'r eneidiau hyn fyw, yn ol cyfraith y nefoedd, ordeiniodd Duw fod iddynt ddyfod yn demlau parotöedig i etifeddu pob peth. Ewyllysiaf i chwi ddeall, fod pob ysbrydoedd yn bur pan osodir hwynt yn y pebyll hyn; eithr nid oes genym amser i egluro, neu osod o'ch blaen, yr achos o'r holl amrywiaeth mewn ymddangosiad, yn y pebyll marwol; y mae achosion o honynt. Mae ein hysbrydoedd yn llanw y pebyll a gorffolwyd iddynt; preswylfod ydyw i'r ysbryd drigo ynddo; ac os cytuna yr ysbryd a'r corff i gadw yr holl gyfreithiau, a'r holl orchymynion a ddadguddia yr Arglwydd i'r babell hono, ni chaiff byth ei dinystrio.

Pa gymmaint a gedwir? Pawb nad ydynt yn gwadu, ac yn beiddio gallu a chymmeriad Mab Duw; pawb nad ydynt yn pechu yn erbyn yr Ysbryd Glân. Yn awr i ddychwelyd etto. Dyma yr ysbrydoedd ag ydynt wedi dyfod a chymmeryd meddiant o'r tabernaclau a barotowyd; maent hwy wedi myned i mewn i'w tŷ; ac yr ydych yn gweled fod y preswylfeydd hyn o eiddo yr ysbrydoedd yn wasgaredig dros wyneb y ddaear, ac y maent wedi dyfod oddiwrth yr Arglwydd yn bur yn eu hysbrydoedd; mae y rhai hyn yn myned i mewn i'w pebyll, ac yn cael eu cau allan o'i bresennoldeb, ac o wybodaeth yr Arglwydd; maent yn anwybodus, yn llawn anghrediniaeth, yn agored i draddodiadau ansantaidd eu tadau, y rhai sydd ganddynt i ymladd â hwynt, a'r holl ddrygioni ag sydd yn y byd, â'r hwn y mae ganddynt i ymdrechu.

Edrychwch, â llygad eich meddwl, ar y miliynau o honynt yn yr holl genedloedd, ag sydd yn gwneyd yn ol y wybodaeth oreu a feddant. Beth! yr Eglwys Gatholig Rufeinig? Ië, ac yna pob un o'i merched, i waered hyd at yr eglwys Brotestanaidd ddiweddaraf a reoleiddiwyd; maent oll yn gwneyd braidd gystal ag y gallant, ac yn byw yn ol y goleuni goreu a feddant, gryn lawer o honynt, er nid i gyd. Pa beth a wnawn o honynt? Y maent yn myned o'r byd—mae eu hysbrydoedd yn myned i'r byd ysbrydol, ac y mae eu cyrff yn dychwelyd i'w mam ddaear, ac yno yn huno, tra y mae eu hysbrydoedd gerbron yr Arglwydd.

A ydynt yn ddedwydd? Mae pob mab a merch i Adda, ag sydd yn byw yn ol y goleuni a'r wybodaeth oreu sydd ganddynt, pan y maent yn myned i'r byd ysbrydol, yn ddedwydd mewn cyferbyniad i'w ffyddloneb. Er enghraifft, taflwch olwg ar rai o'n diweddar ddiwygwyr; cymmerwch y fath oreu o ddiwygwyr

a feddwn, y rhai ydynt yr holl amser yn llawn o ogoniant a dedwyddwch, ac yn llawn o fawl i'r Arglwydd; y rhai ydynt yn cyfarfod yn fynych i ganu a gweddio, a phregethu, a bloeddio, a diolch i'r Arglwydd Hollalluog (ac mewn llawer o enghreifftiau, ac i raddau mawr y maent yn mwynhau llawer o ysbryd daionus, yr hwn yw Ysbryd yr Arglwydd, neu oleuni Crist, yr hwn sydd yn goleuo y byd).

Yn awr gall hyn fod yn hynod i rai. Beth! hwy yn mwynhau Ysbryd yr Arglwydd? Ië, pob dyn a dynes, yn ol eu ffydd a'r wybodaeth sydd yn eu meddiant. Maent yn mwynhau daioni eu Tad o'r nefoedd. A ydynt yn derbyn Ysbryd yr Arglwydd? Ydynt, ac yn mwynhau ei oleuni, ac yn rhodio ynddo, ac yn gorfoleddu ynddo.

Pa beth fydd eu cyflwr hwy yn ol llaw? Pob Methodist ffyddlawn ag a fu byw i fyny, ac a gyflawnodd yn ffyddlawn ofynion ei grefydd, yn ol y goleuni goreu a feddai, gan wneuthur daioni i bawb, a drwg i neb, heb niweidio un dyn ar y ddaear, gan anrhydeddu ei Dduw cyn belled ag y gwyddai,—a gaiff gymmaint o nefoedd ag a ddysgwyliodd erioed yn y cnawd, a llawer mwy.—Pob Presbyteriad, a phob Crynwr, a phob Bedyddiwr, a phob aelod Pabyddol; pob diwygiwr o ba ddosparth neu radd bynag, ag sydd yn byw yn ol y goleuni goreu sydd ganddynt, ac heb fod erioed wedi cael cyfleusdra i dderbyn mwy o oleuni na'r hyn sydd yn eu meddiant,—a gant ac a fwynhant yr oll y maent yn fyw er ei fwyn.

(*I'w barhau.*)

---

## TRAWS BLANIAD Y BLODEUYN.

### O ELLMYNAEG GOETHE.

Mewn coedwig werdd ag oedd gerllaw,
 Unigedd aeth â'm bryd,
A mi a grwydrwn yma a thraw,
 Heb neges yn y byd.

Dygwyddais wel'd blodeuyn têr—
 Blodeuyn aeth â'm serch;
Dyscleiriai fel pur lewyrch sêr,
 Neu ddysclaer lygad merch.

Awyddwn am ei dynu'n fawr,
Ond clywn ryw beth fel llais,—
"A raid i ti fy nhòri lawr,
I wywo ar y maes?"

O'r gwraidd yn dirion tynais ef,
A'i ddwyn a wnes i'm gardd;
Tyf yno mewn rhagorach lle,
A'i wedd yn saith mwy hardd. (1847.)

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

NID y lle, meddai Cicero, sydd yn gwneyd y person, ond y person sydd yn gwneyd y lle yn anrhydeddus.

NID wyf yn eiddigeddu wrth ddedwyddwch neb, canys yr wyf yn foddlawn ar yr eiddof fy hun.

NI ddylai yr ieuanc anturio dim heb gyd-ymgynghori â'r oedranus; canys er mai ieuenctyd yw y tymmor goreu i weithredu, etto hen oedran yw y cynghorwr goreu.

NAC anghofiwch byth y caredigrwydd a wna ereill â chwi; ac na ddannodwch i ereill y caredigrwydd a wnewch chwi â hwynt.

MAE yn well i ni ddyoddef yn ddiachos, nâ bod achos i'n dyoddefiadau.

NID yw lledrad yn cyfoethogi neb, nid yw elusenau yn llwmhau neb, ac nid yw gweddiau yn rhwystro gwaith neb.

YR hwn sydd yn dilyn natur, nid yw fyth allan o'i fforde. Natur a ddarostyngir weithiau, eithr anfynych y diffoddir hi.

MAE yn America 350 o newyddiaduron dyddiol, ac yn Lloegr ddim ond 10.

HWYLIODD cwmpeini arall o Saint o Liverpool, yn cynnwys 345 o eneidiau, dan lywyddiaeth yr Henuriad J. W. Young, ar y 15fed o'r mis hwn, ar fwrdd yr Elvira Owen.

---

TALIADAU o CHWEF. 18 HYD CHWEF. 24.—Sir Fynwy, 3s 0¾c; Sir Fôn, £1 2s; Aberdâr, 15s; Georgetown, 8s 7c; Ffynnon-Tydfil, 2s 4c; Troedyrhiw, 1s 6c; Cap Coch, 8s.—Cyfanswm, £3 0s 5¾c.

☞ Cynnelir Cymmanfa Sir Fon ar y 6fed o Fawrth.

"J. T."—Dylech chwi ac ereill edrych fod y biliau a'r sypynau yn ateb eu gilydd, cyn dechreu eu dosparthu.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

// UDGORN SEION,

NEU

**Seren y Saint.**

RHIF. 10.] MAWRTH 5, 1853. [CYF. V.

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

*A gynnaliwyd yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Fawr, yn dechreu Hydref 6, 1852, 10 yn y boreu,—y Llywydd Brigham Young yn llywyddu.*

[Parhad o dud. 141.]

AR y 7fed o Hydref, y Gymmanfa a alwyd i drefn gan y Llywydd Kimball, ugain mynyd i ddeg. Canodd y côr hymn. Gweddiwyd gan yr Henuriad Phinehas H. Young. Canwyd.

Yr Henuriad Hyde a nododd fod yn anghenrheidiol i'r Saint ymarferyd eu hymdrechiadau goreu i ddiogelu y parhad o gorff ac ysbryd, fel y gallont barhau gweithredoedd y Tad, canys gweithia Duw gyda'r offerynau a barotodd i'r perwyl hwnw, ac y mae gan ddyn i berffeithio ei hunan, megys y mae Duw ei hun yn berffaith. Dyn yw yr awdwr o'i ddedwyddwch neu ei drueni ei hun, a dylai gan hyny greu amgylchiadau er gwneuthur ei hun yn ddedwydd. Heb gysuron bywyd, gall y fenyw dyner ei hunan droi cariad yn gasineb, megys ag y gwelwyd yn ngwarchae Jerusalem, pan y bwytaodd y wraig o ffrwyth ei lwynau ei hun. Rhaid i ddyn ymgynghori â natur, ac yna pob peth a ymlithra yn mlaen yn esmwyth, pan y gall efe fendithio ei hun ac ereill; ond os gwesgir ef gan eisieu, efe a deimla yn druenus.

Mae y dyffryn hwn wedi ei gymmeryd i fyny yn agos i gyd gan ffermydd, ac y mae yr holl goed wedi eu defnyddio, yr hyn a

ofyna ddyn fod ddau ddiwrnod er cael llwyth o goed; ac yn hyd yr amser hwnw y mae dyn yn fynych yn colli ei anifeiliaid, y rhai a allant ddystrywio gardd ei gymmydog, a thynu costiau. Gan hyny, y mae yn well myned i le ag y mae y cymmydogion yn anamlach, a chael y lleoedd goreu at ffermydd; gallwch gael yno lwyth o goed unrhyw foreu, a gosod eich anifeiliaid mewn lle da, ac yna chwi a gewch roddion Duw trwy eich diwydrwydd eich hun. Yn y wlad yn ddeheuol, mae digon o le er ymarferyd eich galluoedd. Yn swydd Haiarn, y maent yn dechreu gwneuthur haiarn, a'r cyfryw fydd yn byw yno ar wneuthuriad y *stove* neu'r crochan cawl cyntaf, a gant eu henwau mewn coffadwriaeth. Ac yn mhellach, mae ganddynt fynydd cyfan o frwmstân, a'r oll sydd genyf fi i ddywedyd yw, peidiwch ei roi ar dân etto, ond gadewch iddo aros hyd nes y rhoddo yr Arglwydd ei hun dân ynddo, pan losga Efe y ddaear â thân. Mae yno hefyd ddigon o goed, dwfr, a phorfa, a'r gair yw, Ewch i'r deheu, a llanwch y dyffrynoedd; canys os nad ewch, y personau sydd yn byw yn y dyffryn hwn a werthant eu heiddo yma, ac a feddiannant y tiroedd hyny a fyddo mwyaf dewisol. Pwy nad aiff i'r deheu, lle y gallwch godi *oranges* a grawnwin. Ni all dyn newynu i farwolaeth ar *grapes* yn unig. Mi brofais hyny fy hun, ac yr wyf am fod yn brofiadol etto. Felly, peidiwch aros yma, ond ewch i dir y meillion a'r grawnwin, a lle y gallwch gael glo am ei gloddio.

"Deheubarth," felly, yw y gair, canys os na chewch fynydd o siwgr yno, mae y brawd Taylor yn myned i'r deheubarth gyda ei beiriant siwgr, a'r lle y mae'r melys, y cyfryw a garant felysdra a wnant fyned. "Tua'r deheu y mae dylifiad yr amherodraeth."

Peidiwch byth aros yma, lle mae eich anifeiliaid yn cael tamaid o borfa ar un erw, ac yna yn myned i erw arall i gael tamaid arall; ond ewch i'r deheubarth, lle mae y borfa yn doreithiog.

Frodyr a chwiorydd, ymgynghorwch â natur, mynwch le da—dyma yw cynghor y brodyr, fel y caffoch eich diwallu; a molwch yr Arglwydd ein Duw; a Duw a'ch gwobrwya chwi. Amen.

Y Llywydd Kimball a ddywedodd: Bu llawer o bersonau yn ceisio cadw eu perthynasau yma; ond os ânt i swydd Haiarn neu swydd Millard, y maent yn ofni y collant eu seliadau a'u cynnysgaethiadau. Mi a ddywedaf wrthych na chaiff neb hwynt hyd oni phrofant eu hunain.

Yn Coal Creek mae y mwyrif o'r bobl yn weithyddion haiarn, y rhai a gymmeradwyir i adael eu ffermydd, a myned at eu celfyddyd. Gallwn deithio yn swydd Millard 50 neu 60 o filltiroedd, o'r gogledd i'r deau, heb braidd derfyn arni yn y gorllewin, a dyna eisteddle y llywodraeth, lle yr â y Llywodraethwr a'i gydswyddwyr i aros, o leiaf dros ran o'r flwyddyn. Os gadewch i ysbryd y dadguddiad eich rheoli am fynyd, chwi a welwch yr anghenrheidrwydd o'r hyn ag ydym yn ddywedyd. Nid yw ond oddeutu 60 o filltiroedd o swydd Haiarn, lle y mae yn hâf parhaus.

Y mae mewn bwriad i adeiladu mur oddiamgylch y Temple Block, ac yna dechreu y bedyddfanau, &c. A ddymunech chwi weled adeiladu Teml? Beth ydych yn ddywedyd? Os dymunwch hyny, cyfodwch eich deheulaw i fyny. [Yr holl ddwylaw i fyny.]

Ni a gawn symud yn ol a blaen yn y dyffrynoedd hyn, ac ni fyddwn yn hir mewn un lle ar y tro—gan hyny, ewch i'r Deheubarth.

Yna yr Henuriad O. Hyde a gododd ac a gyflwynodd yr awdurdodau er cymmeradwyaeth neu anghymmeradwyaeth, fel y canlyn:—

Y Llywydd Brigham Young a gyflwynwyd fel Llywydd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, hefyd fel ein Prophwyd, Gwyliedydd, a Dadguddiwr, ac fel ein blaenor yn Israel, yr hyn a gymmeradwywyd yn unfrydol; felly hefyd Heber C. Kimball a Willard Richards, ei Gynghorwyr; ac hefyd y brawd Richards fel Hanesydd a Chofnodydd Cyffredinol yr Eglwys.

Y Brawd John Smith a gymmeradwywyd fel Patriarch yr holl Eglwys.

Orson Hyde a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm y Deuddeg Apostol, a Parley P. Pratt, Orson Pratt, Wilford Woodruff, John Taylor, George A. Smith, Amasa Lyman, Ezra T. Benson, Charles C. Rich, Lorenzo Snow, Erastus Snow, a Franklin D. Richards, a gymmeradwywyd fel aelodau o'r Corwm crybwylledig.

John Young a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm yr Archoffeiriaid; hefyd Reynolds Cahoon a George B. Wallace, ei Gynghorwyr.

Joseph Young a gymmeradwywyd fel Llywydd y Lywyddiaeth

o Ddegau-a-thrugain; a Levi W. Hancock, Henry Herriman, Zera Pulsipher, Albert P. Rockwood, Jedediah M. Grant, a Benjamin L. Clapp, fel ei gyd-swyddwyr.

Yr Henuriad Clapp a erfyniodd y fraint o lefaru wrth y Saint. Efe a ddymunodd ar y Saint i beidio a'i droi ymaith yn eu gweddiau at yr Arglwydd; a thystiolaethodd fod Duw yn y gwaith hwn. Mae efe yn byw dros Dduw, a thros ddyrchafiad tragywyddol; efe a gafodd gymylau tywyll, a'i ysbrydoedd a fuont yn isel; ond ni fu ganddo erioed deimladau celyd tuag at y Llywyddiaeth, na neb o'r awdurdodau, a'i benderfyniad yw ymlynu wrth ei frodyr; etto y mae yn dysgwyl cael mwy o brofedigaethau nâ hyn, canys efe a'i gwelodd hwynt mewn gweledigaeth, ac y mae ganddo ffydd yn Nuw y gwna ef ei gynnorthwyo allan o honynt. Medd efe, Yr wyf am fyw gyda y bobl hyn, a marw gyda hwynt; ac os nad allaf gael lle gyda y bobl hyn, mi a ddymunwn suddo i ddiddymdra—ac yna gofynodd faddeuant ei frodyr—yr wyf yn foddlon i awdurdodau yr Eglwys, fel eu pleidleisiwyd; mi a bleidleisiais drostynt fy hunan.

Canodd y côr hymn. Gweddïwyd gan yr Henuriad Joseph Young.

Yn y prydnawn, y Llywydd Kimball a alwodd y gynnulleidfa i drefn, ugain mynyd i ddau.

Canodd y côr hymn. Gweddiwyd gan yr Henuriad George A. Smith. Canwyd.

Yna yr Henuriad Ezra T. Benson a gyflwynodd y gweddill o swyddogion yr Eglwys, er cymmeradwyaeth, neu anghymmeradaeth, fel y canlyn:—

John Nebeker, fel Llywydd Corwm yr Henuriaid; hefyd James H. Smith ac Aaron Sceva, ei Gynghorwyr, y rhai a gymmeradwywyd.

Edward Hunter a gymmeradwywyd fel Esgob Llywyddol yr Eglwys; hefyd, Nathaniel H. Felt, John Banks, ac Alfred Cordon, fel Esgobion Teithiol a Llywyddol cynnorthwyol yn mhlith y bobl.

Lewis Wight a gymmeradwywyd fel Llywydd ar Gorwm yr Offeiriaid; hefyd John Groves a George Dockstader, ei Gynghorwyr.

McGee Harris a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm y Dysgawdwyr; hefyd Thomas B. Foy, a Ruben Perkins, ei Gynghorwyr.

Return R. Hill a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm y Diaconiaid; hefyd Andrew Burt ac Oswell Barlow, ei Gynghorwyr.

Brigham Young a gymmeradwywyd fel Ymddiriedolwr mewn Ymddiried dros Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, ac Edward Hunter ei Gynnorthwywr Ymddiriedol.

Daniel H. Wells a gymmeradwywyd fel Arolygwr y Gweithiau Cyhoeddus, a Truman O. Angell fel Pen-saer yr Eglwys.

Brigham Young a gymmeradwywyd fel Llywydd y Cwmpeini Ymfudol Parhaus, i gasglu y tlodion; hefyd, H. C. Kimball, W. Richards, W. Woodruff, O. Hyde, G. A. Smith, E. T. Benson, J. M. Grant, D. H. Wells, Willard Snow, Edward Hunter, Daniel Spencer, Thomas Bullock, John Brown, W. Crosby, Amasa Lyman, Charles C. Rich, Lorenzo D. Young, Parley P. Pratt, Orson Pratt, a Franklin D. Richards, a gymmeradwywyd fel ei Gynnorthwywyr.

Daniel Spencer a gymmeradwywyd fel Llywydd yr estynfa hon o Seion; hefyd David Fullmer a Willard Snow, ei Gyngherwyr.

Eleazer Miller, John Kempton, Heman Hyde, Wm. M. Major, Levi Jackman, Ira Eldredge, John Vance, Edwin D. Woolley, John Parry, Winslow Farr, William Snow, a Nathaniel H. Felt, a gymmeradwywyd fel aelodau o'r Uchel Gynghor o'r Estynfa hon o Seion.

Yna y Llywydd Kimball a gyflwynodd enwau Orson Hyde, John Taylor, Ezra T. Benson, George A. Smith, Lorenzo Snow, Erastus Snow, Franklin D. Richards, Joseph Young, Levi W. Hancock, Henry Herriman, Zera Pulsipher, Albert P. Rockwood, Jedediah M. Grant, a Benjamin L. Clapp, fel cenadon i bregethu yr Efengyl yn y gwahanol ddyffrynoedd.

Hefyd, David Fullmer, James W. Cummings, David Pettegrew, William Snow, Winslow Farr, Martin H. Peck, Lorenzo D. Young, Charles Dolten, a Levi Gifford, a bleidleisiwyd i gael cenadiaethau i bregethu yr Efengyl i Israel yn nyffrynoedd y mynyddoedd.

Yr Henuriad G. A. Smith a dystiolaethodd fod y gwaith hwn yn waith Duw, a bod Joseph Smith wedi ei ysbrydoli gan Dduw i reoleiddio Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf; canys gwirionedd sydd rymus, ac a orchfyga. Yr ydym ni yn mron

bod yn fyd wrthym ein hunain; yr ydym fil o filltiroedd oddi wrth unrhyw le arall; yn byw yn nghanol mynyddoedd eiryawg, ac yn cael ein hamgylchynu gan ddiffaethwch dirfawr; a pha beth bynag a ddygir yma, a gludir trwy gost fawr.

Mae yn y mynyddoedd oddiamgylch swydd Haiarn, ddigonedd o haiarn er diwallu y byd mynyddig hwn â nwyddau haiarn; hwn yw y metel mwyaf gwerthfawr, a thrwyddo gellir dwyn gallu i helaethrwydd annherfynol. Mae Parowan yn sefydliad hyfryd, ac i raddau yn cael y flaenoriaeth ar unrhyw sefydliad arall; mae yr Indiaid yno yn gyffredin yn ymegnïo i fod yn llafurus, ac y mae y brodyr yno yn ddynion rhagorol. Yn Coal Creek codasant gnydiau o'r fath oreu; nis gellir eu maeddu mewn cyflawnder neu helaethrwydd. Mae y crefftwyr haiarn goreu yn awr yn ffermio, &c., yr hyn a ddylasai gael ei wneyd gan ereill, a chaniatau iddynt hwythau fyned at eu celfyddyd eu hunain. Gwnai yr erydr sydd yn eisieu y fynyd bresennol, pe cludem hwynt o'r Taleithiau, gosti i ni 90,000 o ddolars; etto, mae yr haiarn, y glo, y coed, a'r tawdd-glai yno, a gellwch chwi eu gwneuthur pe ewyllysiech. Mae genych i brynu eich sebon, oblegid nad oes genych grochanau i wneuthur sebon ynddynt; ac nid wyf yn ofni dywedyd, fod eisieu 3,000 o grochanau y dydd hwn. Yna ewch at eich gwaith, cefnogwch y cwmpeini haiarn, a gwnewch eich sebon eich hunain. Ac o leiaf mae eisieu 3,000 o setiau o lestri cogino ar y werin hon.

Haiarn yw gewyn gallu: o hono ef y gwneir eich drylliau a'ch wageni; holl lestri hwsmoniaeth a wneir o haiarn; pob cranc melin-lifio ag sydd wedi ei wneyd, a gostiodd o un i bum dolar y pwys. Talodd yr Henuriad Benson oddeutu 50 dolar am wneyd ei granc ef; ac y mae yr un yn swydd Haiarn yn costi dolar y pwys am ei wneuthuriad. Yr wyf yn gwahodd pawb i fyned i swydd Haiarn, er cynnyddu y rhifedi, a chryfhau y sefydliadau yno. Yr wyf yn gwybod y gellir gwneyd cloddiau yn rhatach o haiarn nâ'r rhai a wneir yn awr o bolion. Etto, edrychwch ar y tunelli o hoelion, drws-daclusau, &c, y rhai a gludir yma yn flynyddol, trwy gost ddirfawr. Yn awr, os gwnawn ymaflyd yn y gangen hon o ddiwydrwydd, ni a osodwn i lawr sylfaen er ein annibyniaeth a'n cyfoeth, ac yn mhen pum mlynedd byddwn yn gyfoethocach nag y buom erioed o'r blaen. Yn awr, frodyr, ewch i swydd Haiarn, a bendith Duw a â gyda chwi.

Z. Snow a ddywedodd, fod y brawd George wedi iawn alw ei araeth yn "bregeth Efengyl er iachawdwriaeth y bobl hyn." Yr wyf yn eich herio i gael gafael mewn cenedl a ellir ei galw yn wareiddiedig, heb fod y bobl hyny yn gwneuthur haiarn mewn rhyw ddull neu gilydd; ac nis gallwn ninnau gynnal ein hunain heb ei wneuthur ef. Yr wyf yn rhwymo fy hun i dalu 50 dolar y pâr am yr 50 pâr cyntaf o hosanau a ellir wneyd heb fod haiarn yn cael ei ddefnyddio yn eu gwneuthuriad, mewn rhyw fodd.

Dywedaf, mae genych ddau ddewisiad, naill ai ei wneuthur drosoch eich hunain, a bod yn anymddibynol ar wledydd ereill, neu ynte fod yn analluog byth i godi yn ngradd-ddringiad cenedloedd.

Canodd y côr, "The prodigal son."

Gweddiwyd gan yr Henuriad W. W. Phelps.

Ar yr 8fed o Hydref, y Gymmanfa a alwyd i drefn gan y Llywydd Kimball. Canwyd. Gweddiwyd gan J. M. Grant. Canwyd.

Y Llywydd Young a gyflwynodd ei olygiadau mewn cyssylltiad â Theyrnas Dduw ar y ddaear, y rhai nid oes genym le i'w cyhoeddi yn y papyr hwn, ond rhoddi un enghraifft er lles y gweithwyr cyhoeddus, fel hyn:—

Ychydig o eiriau i'r gweithwyr sydd ar y Gweithiau Cyhoeddus. Frodyr, chwi y rhai ydych yn ewyllysio myned at eich gwaith, a'r rhai ydych yn barod yn gweithio ar y Gweithiau Cyhoeddus, wrthych chwi mi a wnaf hysbysu fy meddwl; ac yr wyf am gael ei ysgrifeni i lawr, a'i gyhoeddi yn y *News*. O hyn allan, chwi y rhai nad ydych yn foddlawn llafurio ar y Gweithiau Cyhoeddus am y tâl a gawn ni fel Degwm, ydych at eich rhyddid i ymadael pryd y mynoch, ac i beidio byth taraw ergyd yn ychwaneg. Yr ydym eisieu 200 o weithwyr, y rhai a weithiant am y fath dâl ag ydym ni yn gael, a'r rhai na wthiant fy enaid allan o honof am arian, *arian*, ARIAN, ARIAN!

Canodd y côr hymn.

Gweddiwyd gan yr Henuriad Thomas Bullock.

(*I'w barhau.*)

## PREGETH ARALL GAN Y LLYWYDD B. YOUNG,

*A draddodwyd ar ddydd Sul, Awst 15, 1852, mewn ffordd o barhad ar y pwnc a driniodd y Sul blaenorol.*

(Parhad o dud. 147.)

YR wyf yn dweyd y gwirionedd wrthych fel ag y mae, a gellwch ei ysgrifenu i lawr os dewiswch, a'i alw yn ddadguddiad. Eithr y mae wedi ei ddadguddio cyn i mi ei ddadguddio yma heddyw. Dyma yw sefyllfa y byd Cristionogol ar ol marwolaeth.

Chwi a ellwch fyned i blith y Paganiaid, neu i blith y cenedloedd eilun-addolgar, ac y mae ganddynt eu crefydd, eu sacramentau, a'u seremoniau, y rhai ydynt mor gyssegredig iddynt hwy, ag yw yr eiddom ni i ninnau; y maent yr un mor werthfawr ac anwyl iddynt hwy, er ein bod ni yn eu galw yn baganiaid; y maent hwy yn eilun-addolgar, etto y mae eu crefydd mor gyssegredig iddynt hwy, ag yw yr eiddom ni i ninnau. Os ydynt hwy yn byw yn ol y goleuni goreu a feddant yn eu crefydd, y mae Duw yn Dduw i bawb, ac yn Dad i ni oll; gwaith ei ddwylaw Ef ydym i gyd; ac os ydynt hwy yn anwybodus, wedi eu llanw ag ofergoeledd, a thraddodiad eu tadau wedi ei wau fel mantell o amgylch iddynt a throstynt, fel nas gallant weled dim goleuni, felly y cant eu barnu; ac os ydynt wedi byw yn ol yr hyn a feddent, felly y derbyniant yn ol llaw.

Ac ai gogoniant a fydd?—chwi a ellwch ofyn. Ië.—Gogoniant, gogoniant, gogoniant i'n Tad trugarog yn y nefoedd; canys y gogoniant lleiaf sydd â sôn am dano yn y Weledigaeth hon a roddwyd i Joseph Smith, ieu., a Sidney Rigdon, nis gellir ei ddesgrifio; y mae mor fawr, ac mor annhraethol, fel y mae yn gwbl tu hwnt i amgyffred dyn marwol.

Nis gellir ei ysgrifenu, nac ychwaith ei ddesgrifio mewn iaith; gogoniant y byd tàn-ddaearol, ni ŵyr un dyn, oddieithr iddo gyfranogi o hono; ac etto yn y byd hwnw, y maent yn gwahaniaethu mewn gogoniant, megys y gwahaniaetha y sêr yn y ffurfafen oddiwrth eu gilydd. Mae y gogoniant daearol yn fwy etto, a'r un nefol yw y mwyaf oll; hwnw yw gogoniant Duw y Tad, lle y teyrnasa ein Harglwydd Iesu Grist. Wel, mae y bobl hyn yn cael mwy o fraint nag un bobl arall ar wyneb y ddaear; mae y cydwladoldeb hwn, y gynnulleidfa yma sydd ger fy mron yn

awr, yn bobl sydd â'u bendithion yn rhagori ar fendithion yr holl deulu dynol heblaw eu hunain.

Pa fath bersonau a ddylem ni fod? Ai ni ddylai ein holl fywydau fod yn llawn o fawl, a gogoniant, a haleliwia i Dduw a'r Oen; gyda gweithredoedd da a theimladau da, gan fod yn llawn o Ysbryd Duw? Pe felly, a fyddai lle i ddigofaint, neu amryson, o'r pryd hwn allan? Ni fyddai un dyn na dynes, a allent gael amser i siarad ynghylch eu cymmydogion, neu amryson â brawd, eithr pob calon a fyddent yn santeiddiedig gerbron yr Arglwydd, a phob tafod yn dadgan mawl; a phob llaw a estynid allan i wneyd daioni, ac i geisio adeiladu teyrnas Dduw, ac ni wnaent byth bechu drachefn. Os ceisiwn ni i adeiladu y deyrnas hon, yr Arglwydd yn ol llaw a'n hadeilada ninnau. Nis gwn y medraf fyned trwy hanner yr hyn wyf am lefaru heddyw. Yr wyf am ddyfod yn ol ac edrych arnom ein hunain yn y lle nesaf.

Pa faint o ogoniantau a theyrnasoedd a fydd yn nhragywyddoldeb? Chwi a gewch weled yr un amrywiaeth yn nhragywyddoldeb, ag a welwch yn y byd hwn. Er enghraifft, yr ydych yn gweled yma un dosparth o ddynion, y rhai a fuont byw yn ol y goleuni goreu a feddent; chwi a ellwch fyned i blith y paganiaid, neu i blith y Cristionogion, oblegid nid yw o un gwahaniaeth; mi a'u galwaf oll yn Gristionogion, neu oll yn baganiaid, os gwna hyny foddloni teimladau rhywun, canys nid ydynt yn mhell yn ol o fod yn baganiaid i gyd. Ni a gymmerwn y dynion goreu a gawn yn eu mysg hwynt; pan y maent yn myned trwy y llèn, y maent mewn dedwyddwch—y maent mewn gogoniant; maent yn myned i blith yr ysbrydoedd digorff, eithr nid ydynt yn myned lle y mae cyrff adgyfodedig, canys ni allant fyw yno; nis gall prophwyd neu apostol fyw yno; y maent hwythau hefyd yn myned i'r byd ysbrydol, i fyw gydag ysbrydoedd. A ydynt hwy yn cyfrinachu â'r Tad a'r Mab? Mae y Tad yn cyfrinachu â hwy fel yr ewyllysio, trwy gyfrwng angylion, neu fel arall, trwy y Mab a'r Ysbryd Glân. Dyma yw cyflwr y prophwyd, yr apostol, a'r holl saint cyn derbyn eu cyrff adgyfodedig; eithr edrychant yn mlaen at yr amser pan gant dderbyn eu cyrff o'r llwch; a'r rhai hyny ag ydynt wedi bod yn ffyddlawn, fel y mae yn debygol, a gant yn fuan yn awr eu cyrff adgyfodedig. Mae Abraham wedi cael ei gorff ef er ys hir amser, ac y mae yn

preswylio gyda'r Tad a'r Mab, yn mhlith yr holl brophwydi a saint ffyddlawn a dderbyniasant eu cyrff adgyfodedig yn union ar ol adgyfodiad yr Iachawdwr; yr oeddynt hwy bryd hyny yn barod i fyned i mewn i orphwysdra y Tad, ac i gael eu coroni â gogoniant a bywydau tragywyddol; ond nid oeddynt yn barod cyn hyny.

Nid yw ysbryd sant na phechadur, prophwyd, na'r hwn sydd yn lladd y prophwyd, yn barod erbyn eu sefyllfa olaf; maent yn myned trwy y llèn o'r sefyllfa hon, ac yn myned i fyd yr ysbrydoedd, ac yno y trigant, gan ddysgwyl eu tynghed olaf. Diammau ei fod yn ymddangos yn feddylddrych hynod i chwi, fod sant a phechadur yn myned i'r un lle, ac yn cyd-drigo yn yr un byd.— Gellwch weled yr un amrywiaeth yn y byd hwn. Yr ydych yn gweled Saint y Dyddiau Diweddaf, y rhai ydynt wedi dyfod i'r dyffrynoedd hyn, eu bod wrthynt eu hunain fel cydwladoldeb, etto y maent yn yr un byd â chydwladoldebau ereill. Eithr nid wyf yn teimlo fel pe byddwn yn byw lle y mae chwech neu wyth math o grefydd, neu ragor, ac ar ol y cyfan, heb grefydd yn y byd; nid wyf yn trigo lle mae melldithio, a rhegu, a march-redeg, a hapchwareu, a phob peth arall ag sydd yn aflonyddu gwladwriaeth heddychlawn. Er fy mod yn yr un byd ag y mae hyn oll yn bodoli, nid wyf yn byw lle y mae, ac nid wyf yn cael fy aflonyddu ganddo; eithr yr wyf fi yn heddychlawn, ac yn gwasanaethu yr Arglwydd.

Chwi a ellwch weled yr amrywiaeth yma. Gall y Presbyteriaid fyned ymaith wrthynt eu hunain, ac adeiladu dinasoedd, trefi, ac ymdrechu gwahardd pob dyn arall, ag nad yw yn Bresbyteriad, rhag trigo gyda hwynt; gall y Methodistiaid wneyd yr un peth; yr ym yn meddu y fraint o reoleiddio cymdeithas yn y byd hwn, fel y mynwn, mewn un ystyr. Dyma yw yr hyn a eilw Mr. Owen yn *Socialism*; dywed ef fod dynolryw yn cael eu llywodraethu gan amgylchiadau, a dywed ereill fod dynolryw yn rheoli a llywodraethu amgylchiadau. Mae y ddwy ochr yn iawn. Yr ydym ni yn rheoli a llywodraethu amgylchiadau; eithr pan ddelom i amgylchiadau ag y mae yr Arglwydd yn eu llywodraethu, yna llywodraethir ni gan amgylchiadau.—Myfi a'm brodyr a allwn fyned ac ymsefydlu mewn rhyw fan; a chwithau, os dewiswch, a ellwch fyned i fasgnachu, neu fagu anifeiliaid; ac os dewiswch, gellwch fyw heb deulu, fel Ysgwydwr: yn y ffordd yma gellwch

chwi lywodraethu amgylchiadau i raddau mawr, tra y mae amgylchiadau dros ba rai nad oes genym ni un lywodraeth. Mae hyn oll yn arddangos yn gywir sefyllfa y bobl ar ol hyn; y maent hwy yn llywodraethu amgylchiadau i raddau mawr, ac weithiau y mae amgylchiadau yn eu llywodraethu hwy. Pan fyddont yn myd yr ysbrydoedd, y mae yno y prophwyd a'r patriarch; y mae'r holl gyñawnion yno, ac y mae yr holl rai drygionus yno hefyd.

Pa beth sydd i gael ei wneuthur o honynt hwy? Maes o law bydd Seion wedi ei hadeiladu; y mae temlau i gael eu hadeiladu; ac y mae'r Offeiriadaeth santaidd yn myned i gael effaith a llywodraeth; ac ufyddheir i bob cyfraith o eiddo Crist; ac efe a lywodraetha ac a deyrnasa yn Frenin y cenedloedd, fel y gwna yn awr yn Frenin y saint: yn lled fuan chwi a welwch demlau wedi eu hadeiladu, a meibion Jacob a ânt i mewn i demlau yr Arglwydd. Pa beth a wnant hwy yno? Hwy a wnant lawer iawn o bethau. Pan weloch Seion wedi ei gwaredu a'i hadeiladu, —pan weloch y bobl yn cyflawni ordinhadau iachawdwriaeth drostynt eu hunain, a thros ereill (a hwy a wnant hyny ar ol hyn), chwi a welwch hyn yn eglur; eithr nid oes amser genyf y boreu hwn i ddywedyd wrthych ond yn unig gyfran o hono· Oddeutu yr amser pan gaiff temlau yr Arglwydd eu hadeiladu, a Seion ei chadarnhau; yn agos iawn i'r amser hyn, chwi a welwch, y rhai ydych yn ddigon ffyddlawn; yn gyntaf, fe fydd dyeithriaid yn eich mysg, yn cyd-rodio â chwi, ac yn ymddyddan â chwi; hwy a ânt i mewn i'ch tai, ac a fwytânt ac a yfant gyda chwi, ac a ant i'r cyfarfod gyda chwi, ac a ddechreuant agor eich meddyliau, fel y gwnaeth yr Iachawdwr i'r ddau ddyscybl ag oedd yn rhodio allan yn y wlad, yn y dyddiau gynt.

Ynghylch yr amser y byddo y temlau yn barod, y dyeithriaid a ant gyda chwi, ac a ymddyddanant â chwi, ac a'ch holant, fe allai, os ydych yn deall am adgyfodiad y meirw; gellwch chwithau ddweyd eich bod wedi clywed a darllen llawer iawn am dano, eithr nad ydych wedi iawn ddeall yn ei gylch; ac yna hwy a agorant eich meddyliau, ac a draethant i chwi egwyddorion adgyfodiad y meirw, a pha fodd i achub eich cyfeillion; hwy a gyfeiriant at ysgrythyrau yn yr Hen a'r Newydd Destamentau, yn Llyfr Mormon, a dadguddiadau ereill Duw, gan ddywedyd, "Ai nid ydych yn cofio darllen fel a'r fel, y deuai iachawdwyr i

fyny i Fynydd Seion," &c., ac a eglurant yr ysgrythyrau i chwi. Yr ydych wedi cael eich temlau yn barod; yn awr ewch a bedyddier chwi dros y bobl dda hyny; dyna eich tad, a'ch mam, eich henafiaid am genedlaethau lawer yn ol, y bobl ag sydd wedi byw ar wyneb y ddaear, er pan gymmerwyd ymaith yr offeiriadaeth, miloedd a miliynau o honynt, y rhai a fuont byw yn ol y goleuni a'r wybodaeth oreu yn eu meddiant.—Hwy a eglurant yr ysgrythyrau i chwi, ac a agorant eich meddyliau, gan ddysgu i chwi am adgyfodiad y cyfiawn a'r anghyfiawn, ac am athrawiaeth iachawdwriaeth: hwy a ddefnyddiant allweddau yr Offeiriadaeth santaidd, ac a ddadglöant ddrws gwybodaeth er i chwi gael edrych i mewn i balas gwirionedd. Chwithau a ddywedwch, Mae hyna i gyd yn eglur,—paham nas gallaswn ei ddeall o'r blaen? a chwi a ddechreuwch deimlo eich calonau yn llosgi o'ch mewn, tra y byddont yn cyd-rodio ac yn ymddyddan â chwi.

Chwi a ewch i mewn i Demlau yr Arglwydd, ac a ddechreuwch offrymu i fyny ordinhadau gerbron yr Arglwydd dros eich meirw. Meddai y dyn hwn neu y dyn hwna, yr wyf fi am achub y cyfryw berson; yr wyf am achub fy nhad, ac yn uniongyrchol y mae yn myned trwy yr ordinhad o fedydd, ac yn cael ei gadarnhau, a'i olchi, a'i eneinnio, a'i ordeinio, er cyrhaedd bendithion yr offeiriadaeth santaidd, dros ei henafiaid. Cyn y gorphenir y gwaith hwn, bydd llawer iawn o henuriaid Israel, yn Mynydd Seion, yn golofnau yn Nheml Dduw, heb fyned allan mwy; hwy a fwytânt ac a yfant, ac a gysgant yno; a hwy a gânt achlysur yn fynych i ddywedyd, Daeth rhywun i'r Deml neithiwr, nis gwyddem ni pwy oedd, eithr diammau ei fod yn frawd, a mynegodd gryn lawer o bethau wrthym, y rhai nid oeddym yn eu deall o'r blaen. Efe a roddodd i ni enwau cryn lawer o'u cyndeidiau ag nad oes hanes am danynt, ac efe a roddodd i mi fy ngwir linach, ac enwau fy nghyndeidiau dros gannoedd o flynyddoedd yn ol. Efe a ddywedodd wrthyf, Yr ydych chwi a minnau yn gyssylltiedig yn yr un teulu; dyna enwau eich henafiaid, cymmerwch hwynt, ac ysgrifenwch hwynt i lawr, a bedyddier a chadarnhaer chwi, ac achubwch y cyfryw a'r cyfryw rai, a derbyniwch fendithion yr offeiriadaeth dragywyddol dros y cyfryw a'r cyfryw berson, fel yr ydych yn gwneyd drosoch eich hunan. Dyma yw yr hyn ag ydym yn myned i'w wneuthur dros drigolion y ddaear. Pan edrychwyf arno, nid wyf am orphwys cryn lawer, ond bod yn ddiwyd trwy y dydd; canys pan elom i feddwl am dano, nid oes genym ddim amser i golli, oblegid y mae yn waith lled lafurus.

Yr wyf yn teimlo yn fawr i adael i'r fflangell lithro drosodd ychydig at ryw rai personau. A ydych chwi yn tybied y byddent am fyned i California i gael aur, neu redeg i'r *ferries*, lle y mae enw yr Hollalluog yn cael ei gablu, pe yr iawn ddeallent y pethau hyn, sef ffordd bywyd ac iachawdwriaeth? Chwi a ewch i mewn i Deml yr Arglwydd, tra mae o law, wele y brodyr Joseph ac Hyrum Smith yn dyfod, er enghraifft, oblegid hwy a

fyddant yn gwbl alluog i ddyfod ac aros gyda chwi drwy y nos, a chwithau heb wybod pwy fyddant; neu meddyliwch pe deuai David Patten, gan ysgwyd dwylaw â rhai o'r Deuddeg, ac yn aros gyda hwynt drwy y nos, gan egluro yr ysgrythyrau, a dadguddio pethau cuddiedig Duw: nid hir y bydd, cyn y dygwydda pethau felly.

Meddyliwch ein bod ni yn barod at hyny, a bod Teml fawr wedi ei hadeiladu yn y canol-bwynt, yn Swydd Jackson; foneddigion, na frawychwch; canys os na awn ni yn ol yno, fe â ein meibion a'n merched; a chaiff Teml fawr ei hadeiladu ar y man cyssegredig, a llawer iawn yn ychwaneg heblaw hono. Tir Joseph yw tir Seion; ac fe gymmera Ogledd a Deau America i wneyd tir Joseph. Meddyliwch ein bod ni yn barod i fyned i Demlau Duw, i weinyddu dros ein tadau a'n hendadau, dros ein henafiaid yn ol am gannoedd o flynyddoedd, y rhai ydynt oll yn edrych pa beth y mae eu plant yn wneuthur ar y ddaear; fe ddywed yr Arglwydd, mi a ddanfonais allweddau Elias y prophwyd; mi a roddais yr athrawiaeth hono er troi calonau y tadau at y plant, a chalonau y plant at y tadau; yn awr, chwi blant oll, a ydych chwi yn edrych at iachawdwriaeth eich tadau? a ydych chwi yn dyfal ymdrechu i waredu y rhai a fuont feirw heb yr efengyl, yn gymmaint ag y ceisiasant hwy yr Arglwydd Hollalluog er cael addewidion i chwi? canys fe gafodd ein tadau addewidion, nad anghofid eu had hwynt. O chwi blant y tadau, edrychwch at y pethau hyn; yr ydych chwi i fyned i mewn i Demlau yr Arglwydd, a gweinyddu dros eich cyndeidiau.

Meddyliwch ein bod yn barod i fyned i mewn i'r deml, i gael ein bedyddio, a myned trwy yr ordinhadau dros gant o'r goreuon o'n tadau, ac i Thomas ddywedyd wrth John, John, cymmerwch arnoch y gorchwyl hwn, ac edrychwch ato; y mae arnaf fi eisieu myned i'r *ferry* i wneyd ychydig o arian: neu, Joseph, chwi a wyddoch enwau ein henafiaid yn well nag y gwn i, a wnewch chwi fyned ac edrych at eu hiachawdwriaeth? Nid oes genyf amser fy hun, yr wyf eisieu adeiladu pont: James, a ydych chwi yn barod i gyflawni eich dyledswyddau dros y meirw? Nac ydwyf; yr wyf fi eisieu myned i gadw siop: A chwi a wyddoch yr iaith ag sydd yn gyffredin i'r fath leoedd; mae enw Duw yn cael ei gablu, a'i weision yn cael eu melldithio trwy lwon chwerwon.

Pa beth ydych yn feddwl am hyny, foneddigion, henuriaid yn Israel? Pa beth fyddai gan arian i wneyd â chwi, pe byddech yn awr ar drothwy tragywyddoldeb, a thragywyddoldeb yn agor i chwi? A fyddai genych ysbryd gwrthgiliad, fel sydd genych yn awr? Mae ychydig o arian yn fwy gan y cyfryw bersonau, nag iachawdwriaeth holl feibion a merched Adda. Mi a ddymunwn pe byddai genyf lais deng mil o daranau, fel y gallai yr holl fyd glywed, a gwybod am drugarogrwydd yr Arglwydd.

Yr wyf yn hysbysu pethau i chwi ag ydynt ger fy mron yn wastadol. Pan fyddo dynion a benywod yn ymestyn ar ol peth-

au darfodedig y byd hwn, ac yn troedio allan o lwybr dyledswydd, ac yn peryglu eu hiachawdwriaeth, yr ydys wedi dywedyd ei fod yn dolurio teimladau y brawd Brigham. Mae hyny yn wir; ac mi a allwn hyd y nod wylo drostynt; ac y mae'r angylion yn wylo drosom wrth weled ein ffolineb; ein bod mor benwan ag i redeg ar ol pethau diflanedig y byd, a gosod ein meddyliau a'n teimladau ar gyfoeth, ac esgeuluso ein dyledswydd i barotoi ein hunain erbyn dyfodiad Mab y Dyn; erbyn dyfodiad yr apostolion a'r prophwydi hen a diweddar; erbyn gwaredigaeth Seion, a gwaredigaeth ein cyfeillion ymadawedig, yn mhob oes o'r byd, pan nad oedd yr offeiriadaeth ar y ddaear.

Yn awr, y gofyniad sydd yn ein meddyliau yw, A yw yr holl fyd yn myned i gael rhan yn y bendithion hyn? Ydyw, yr holl fyd. Ai nid oes neb i gael eu colli—ai nid oes neb yn myned i ddyoddef digofaint yr Hollalluog? Mi a allaf ddywedyd yn y lle cyntaf, megys ag y dywedais trwy fy oes, lle y bum yn pregethu; ni fu genyf erioed yr ysbryd i bregethu uffern a damnedigaeth i'r bobl; mi a dreiais hyny amryw droion; mi a dreiais y Sabboth diweddaf, ac a dreiais heddyw, i ddyfod at y pwynt hwnw,—dyoddefiadau y drygionus. Fe ymddengys y dyoddefant, eithr nis gallaf fi gael fy nghalon ar ddim, ond iachawdwriaeth i'r bobl. Mae yr holl genedloedd yn myned i gael rhan yn y bendithion hyn; mae yr oll wedi eu huno yn mhrynedigaeth yr Iachawdwr; mae efe wedi profi marwolaeth dros bob dyn; maent oll o fewn ei bwer; ac y mae efe yn eu hachub hwynt oll, fel y dywed efe, oddieithr meibion colledigaeth; ac y mae y Tad wedi gosod yr holl greadigaethau ar y ddaear hon, yn ei bwer ef; y ddaear ei hun, a dynolryw arni; y bwystfilod, pysgod y môr, ac ehediaid yr awyr, y pryfed, a phob ymlusgiad, ynghyd â phob peth perthynol i'r bellen ddaearol hon—mae yr oll yn nwylaw yr Iachawdwr, ac y mae efe wedi eu prynu oll. Pwy sydd allan o'i bwer ef? Mi a ddywedaf wrthych; yn y lle cyntaf, efe a wnaeth ddyn yn orchwyliwr iddo ei hun, gerbron yr Arglwydd, gyda'r holl rai ereill a ordeiniodd; y mae efe wedi ordeinio fod i ddynolryw weithredu drostynt eu hunain, meddwl drostynt eu hunain, ymdrin drostynt eu hunain; hwy a allant ddewis y da, a gwrthod y drwg; glynu wrth y drwg, ac esgeuluso y goleuni a'r da, fel y byddont yn dewis. Gosodir bywyd a marwolaeth o'u blaen, a'u rhagorfraint hwy yw dewis bywyd neu farwolaeth. Os dewisant farwolaeth, drygioni, a thywyllwch, fe ddaw yr amser pan fydd i'r rhai a adwaenant allu Duw, wadu y gallu hwnw, a llefaru yn erbyn yr Ysbryd Glân, a chyflawni y pechod anfaddeuol; yna y maent yn taflu eu hunain allan o bwer yr Iachawdwr, a chymmeryd pwer iddynt eu hunain, a dywedyd, "Ni wrandawaf fi ar yr Arglwydd Iesu Grist yn awr,—mi a wasanaethaf y sawl a fynaf, ac yr wyf yn herio gallu Mab Duw." Rhoddant eu hunain yn weision i'r diafol, ac ant yn angylion iddo; yna y maent

allan o ddwylaw yr Iachawdwr, ac nis gallant byth drigo yn y nefoedd, yn oes oesoedd.

Gwna hyn egluro y meddylddrych. Yr ydych wedi clywed llawer ynghylch cael eich enwau wedi eu hysgrifenu yn Llyfr Bywyd yr Oen. Pan oeddym ni yn Gristionogion, yn ol ystyr cyffredin y gair, arferem bregethu llawer iawn ynghylch cael ein henwau yn ysgrifenedig yn y llyfr hwnw. Mi a ddywedaf wrthych pa fodd y mae; y mae enwau pob mab a merch i Adda eisoes yn ysgrifenedig yn Llyfr Bywyd yr Oen; a fydd amser byth pan gymmerir hwynt allan o hono? Bydd, pan elont yn feibion colledigaeth, ac nid cyn hyny. Medda pob un y fraint o'i gadw yno yn oes oesoedd. Os esgeulusant y fraint hono, yna eu henwau a ddileir, ac nid cyn hyny. Mae holl enwau y teulu dynol yn ysgrifenedig yno, a'r Arglwydd a'u cadwa yno, hyd nes y deuont i wybodaeth y gwirionedd, fel y gallont wrthryfela yn ei erbyn, ac y gallont bechu yn erbyn yr Ysbryd Glân; yna hwy a fwrir i lawr i uffern, a'u henwau a ddileir allan o Lyfr Bywyd yr Oen.

Yr wyf am i'r brodyr edrych ar y gwaith sydd o'n blaen; myfyriwch ynghylch eich bendithion, a meddiennwch hwynt. Nid oes un pobl yn cael eu bendithio fel ag y cawn ni. Mae genym ni eiriau y bywyd tragywyddol, ac offeiriadaeth santaidd Mab Duw; yr ydym yn meddu allweddau yr offeiriadaeth hono, ac yn gallu porotoi ein hunain i fod yn angylion i Dduw; ie, mwy, i fod yn saint Duw; ïe, mwy, i fod yn Dduwiau yn nhragywyddoldeb, ac i gael ein coroni â choronau o ogoniant, anfarwoldeb, a bywydau tragywyddol. A gwae y rhai a esgeulusant y pethau hyn, ac a'u triniant yn ysgafn; gwae y rhai ag sydd yn byw yn mhlith y byd, ac yn caru cyfoeth, neu unrhyw beth, yn well nag ydynt yn caru Awdwr ein hiachawdwriaeth.

Dyma rai rhanau o efengyl y brynedigaeth. Ai nid yw yn fendith—ai nid yw yn fraint fawr, i drigolion y ddaear i adwaen y gwirionedd megys ag y mae; i'w gael wedi ei swnio i'w clustiau, fel, er y gallant fyned i uffern, a dyoddef digofaint yr Hollalluog; etto, os na chawsant y fraint o dderbyn yr efengyl santaidd, na dyfod i wybodaeth y gwirionedd, fel ag i bechu yn erbyn yr Ysbryd Glân, y daw yr amser, trwy allu a goruchafiaeth yr Oen, y dwg efe hwynt allan, pan fyddont wedi dyoddef ei ddigofaint ef yn ol y gweithredoedd a wnaed yn y corff. Ai nid yw yn fendith fawr?

Mi a ddywedaf wrthych, frodyr, a chwiorydd, a chyfeillion, pan edrychaf ar y pethau hyn, yr wyf yn taer ddymuno y gellid eu deall gan y byd yn gyffredinol; mi a ddymunwn pe gallent eu gweled a'u mwynhau, a gweled y daioni, a'r llymder, a'r caredigrwydd gyda'r llymder hwnw, a'r cariad sydd gan yr Hollalluog tuag atynt: pe gallent ei wybod, ni chawsem ddysgwyl i'r haul gyfodi etto, cyn y plygai pob glin gerbron yr Arglwydd, o'r dwyrain i'r gorllewin, ac o'r gogledd i'r deau, dros yr holl ddaear hon, ac y cyffesai pob tafod gerbron Duw y Tad, mai Iesu yw y Crist.

Pan fyddant yn gwybod hyn, ac yn ei ddeall, dyna'r amser y cymmerir llèn y gorchudd oddiar eu llygaid, ac y gwel pob cnawd ei ogoniant ef ynghyd; yna y plyga pob glin, ac y cyffesa pob tafod, mai Iesu yw y Crist, y Gwaredwr, yr Iachawdwr, ac Etifedd cyfreithlawn y greadigaeth hon; ac yr anrhydeddant ef fel eu cymmwynaswr caredig, ac y molant ef yn wastadol, er eu bod yn y byd tàn-ddaearol.

Teimlaf i ddywedyd, yr Arglwydd a'ch bendithio. Trwy anhawsdra yr wyf yn llefaru wrthych y boreu hwn. Nid yw fy llais yn taranu, fel y gwnelai unwaith; a thrueni fuasai i mi lefaru i gynnulleidfa, a hwythau ddim yn fy nghlywed; trwy anhawsdra yr wyf yn pregethu. Mi a hoffwn pe gallwn lefaru yma am fil o flynyddoedd, ac heb flino, pe meddwn y gallu a'r nerth i wneuthur felly; ni a ddeuwn o hyd i hyny ar fyr: yr Arglwydd a'ch bendithio ac a'ch gwnelo yn barod i'r deyrnas o orphwysdra. Amen.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

MEDDWDOD a chybydd dod a ymdebygolant yn fawr i'w gilydd; canys pa fwyaf a yfa dyn, mwyaf i gyd yw ei syched; a pha fwyaf a gaiff, mwyaf i gyd yw ei awydd am ragor.

MAE yn fwy hawdd i roddi cynghor nâ'i dderbyn; dynion call a dybiant nad oes eisieu cynghor arnynt, a ffyliaid a wrthodant ei gymmeryd.

NA osodwch ormod o hyder ar ddysgwyliadau dyfodol; mae y gobeithion cryfaf yn cael eu siomi weithiau trwy ryw ddygwyddiad annysgwyliadwy, yr hyn nis gellid ei ragweled.

---

TALIADAU O CHWEF. 25 HYD MAWRTH. 3.—Gorllewin Morganwg, £5; Llanilltyd, 6s; Pontypridd, 9s; Aberamman, 4s 6c; Georgetown, 6s 8c; Pendaren, 11s; Cefn, 10s (Chwef. 15).—Cyfanswm, £7 7s 2c.

"T. D."—Nid oes ond oddeutu dwsin o'r "COF-LYFR" Eglwysig ar law, a goreu i gyd pa gyntaf y byddoch yn gallu ei brynu, gan na thala y ffordd i argraffu ychwaneg am amser hir. Fe ddylai pob cangen ei feddu, ag sydd â modd ganddynt i'w brynu.

"G. L."—Nid oes un llyfryn a roddai fwy o oleuni i chwi nâ gwaith y brawd Orson Pratt, sef "Yr Achos Mawr Cyntaf, neu Alluoedd Hunan-symudol y Bydyssawd," gwerth dwy geiniog. Mae hwnw yn lyfryn heb ei ail ar y pwnc dan sylw, ac yn ddigon dealladwy os cymmerir pwyll i'w ddarllen.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 11.] MAWRTH 12, 1853. [CYF. V.

## DYDDIAU NOAH A DYDDIAU MAB Y DYN.

MAE yr ysgrythyrau yn eglur ddangos fod dyddiau Noah yn debyg iawn i ddyddiau Mab y Dyn; canys "fel yr oedd yn nyddiau Noah, felly hefyd y bydd dyfodiad Mab y Dyn." Mae y naill ddyddiau fel y lleill, yn ddyddiau pwysig, a'r rhai pwysicaf erioed ag a ddaeth i gyfarfod â theulu dyn. Yn y rhai cyntaf y boddwyd trigolion y byd, ac y bedyddiwyd y ddaear mewn dwfr, trwy yr hwn hefyd yr achubwyd ychydig, sef wyth enaid; ac yn y rhai olaf y llosgir trigolion y byd fel sofl, ac y bedyddir y ddaear â thân, ac hefyd yr achubir rhywfaint "megys trwy dân." Mae dyddiau Noah a dyddiau Mab y Dyn, ynte, yn debyg iawn i'w gilydd; ac y mae dyddiau Noah yn bortreiad o'r lleill.

Pwy nad all weled wrth ddarllen hanes dyddiau Noah, y bydd yn gyffelyb yn nyddiau Mab y Dyn? Etto, ychydig iawn sydd yn gallu gweled y tebygolrwydd, er mor debyg y maent i'w gilydd. Ni feddyliodd Crist erioed y buasai y lluoedd a fyddant byw yn nyddiau ei ddyfodiad, yn gallu amgyffred dim ynghylch hyny; canys os byddant yn amgyffred y tebygolrwydd rhwng dyddiau Noah a dyddiau Mab y Dyn, ni fydd iddynt gael eu twyllo, ac o ganlyniad mae yn rhaid eu bod hwythau yn gwbl anwybodus. Dim ond wyth enaid oedd yn credu fod diluw i ddyfod, a dim ond ychydig sydd yn credu yn y dyddiau diweddaf y bydd dyfodiad yr Arglwydd mor agos a disymmwth.

Pan edrychom ar sefyllfa y byd Cristionogol yn yr oes hon, canfyddwn eu bod yn debyg iawn o ran eu golygiadau am yr

amser dyfodol, i'r cyn-ddiluwiaid. Er cymmaint a bregethai Noah am gyfiawnder ac am y dinystr ag oedd gerllaw, etto ni wrandawai y bobl gynt, eithr parhaent i adeiladu tai, planu gwinllanoedd, priodi, gloddesta, a phob peth arall fel arferol, gan gredu fod amser hirfaith o'u blaen. Felly yn union y mae yn yr oes hon : er cymmaint a bregetha Saint y Dyddiau Diweddaf, ac er cymmaint o rybyddion a roddant i'r bobl fod dyfodiad yr Arglwydd yn agos, etto y maent hwy yn parhau i adeiladu, planu, priodi, gloddesta, a phob peth arall fel arferol, gan gredu yn ddiysgog nad oes y perygl lleiaf iddynt hwy gael eu dal gan ddinystr, fel ag y cafodd y cyn-ddiluwiaid. Edrychant yn mlaen, gan ddysgwyl y bydd i heddwch yn raddol lenwi y ddaear, ac y bydd i'r efengyl argyhoeddi pob creadur dan y nefoedd, yn flaenorol i ddechreuad y mil blynyddau, ac yna credant y daw Mab y Dyn, ac y bydd megys ag yr oedd yn nyddiau Noah. Mynant i ni gredu y taena eu hefengylau hwy dros y byd, ac y dychwelant bob pechadur oddiwrth gyfeiliorni ei ffyrdd, cyn y daw Mab y Dyn; a phan y tystir wrthynt i'r gwrthwyneb, ymddygant fel y cyn-ddiluwiaid, trwy wneyd gwawd o honom.

Ond ow! fel y cant eu siomi, ac y cant eu dal gan ddinystr disymmwth, ie, gan erchyllach dinystr nag a ddygwyddodd yn nyddiau Noah. Eu dinystr hwy fydd tân fflamllyd o'r nef, yr hwn a wna y ddaear yn ffwrn yn llosgi; ac iddynt hwy nis gadawir na gwreiddyn na changen. Mae yr Arglwydd i ddyfod megys lleidr yn y nos, yn hollol ddisymmwth, ac yn yr awr ni thybioch. Pan feddylioch fod heddwch a llwyddiant o'ch blaen, a bod yr Arglwydd megys yn oedi ei ddyfodiad, y pryd hwnw, yn gwbl annysgwyliadwy, Efe a wna ei ymddangosiad ar gymmylau y nef, gyda myrddiwn o'i saint, ac yn eu canlyn angylion nerthol, a'r tân dialeddol a ddisgyn i lawr megys gwlawogydd trymion o ffenestri y nefoedd, ac a ysa bob cnawd nad adwaeno Dduw, ac na fyddo wedi ufyddhau i efengyl ei Fab, yr hon a bregethir yn awr gan y Saint. O, fel y mae dynion wedi eu dallu gan draddodiadau y tadau, ac fel y cam-ddeallant yr ysgrythyrau. Oni ddywedodd Crist, "Am y dydd hwnw a'r awr nis gŵyr neb, nac angylion y nefoedd, ond fy Nhad yn unig. Ac fel yr oedd yn nyddiau Noah, felly hefyd y bydd dyfodiad Mab y Dyn: oblegid fel yr oeddynt yn y dyddiau yn mlaen y diluw yn bwyta ac yn yfed, yn priodi ac yn rhoi i briodas, hyd y dydd yr aeth Noah i

mewn i'r arch, ac ni wybuant hyd oni ddaeth y diluw a'u cymmeryd hwy oll ymaith; felly hefyd y bydd dyfodiad Mab y Dyn" (Math. xxiv, 36—39)? Paham, gan hyny, y mae dynion mor anwybodus ynghylch dyddiau Mab y Dyn, tra y mae'r Iesu yn eu darlunio mor debyg i ddyddiau Noah? O herwydd y gwrthodant efengyl ein Harglwydd, ac na fynant eu goleuo. Maent yn rhy annoeth i gredu y gall ychydig fod yn iawn, a llaweroedd fod yn gyfeiliornus, fel ag y bu yn nyddiau Noah. Gwnaeth Noah bregethu oddeutu trugain mlynedd, eithr ni chredodd ond wyth enaid ei genadwri, ac yr oedd y rhai hyny o'i deulu ef ei hun. Mae Saint y Dyddiau Diweddaf wedi bod yn pregethu am oddeutu tair blynedd ar hugain, ac y mae eu tystiolaeth eisoes braidd yn mysg yr holl genedloedd; ond nid oes ond ychydig wedi credu, mewn cyferbyniad i liosogrwydd trigolion y byd. Nid â llawer o flynyddoedd heibio etto, cyn y bydd yr efengyl dragywyddol wedi ei phregethu "trwy yr holl fyd er tystiolaeth i'r holl genedloedd; ac yna daw y diwedd." Er y creda llawer o grefyddwyr y byd fod hyn wedi cymmeryd lle yn flaenorol i ddinystr Jerusalem, etto cant weled yn amgen ar fyrder; oblegid y mae rhoddi tystiolaeth o'r efengyl i holl genedloedd y byd, cyn y daw y diwedd, yn darogan fod y diwedd hwnw yn perthyn i un genedl yn gystal â'r llall, pa un bynag ai Iuddewon neu Genedloedd. Dyna paham yr ymdrecha Saint y Dyddiau Diweddaf bregethu yr efengyl i bob cenedl, llwyth, iaith, a phobl, fel y byddont oll yn ddiesgus pan ddelo y diwedd, a phan yr ymddangoso yr Arglwydd ar gymmylau y nef. Ni ddywed yr ysgrythyr, ac ni chredwn ninnau, y bydd pregethiad yr efengyl i'r holl genedloedd yn eu hargyhoeddi oll, eithr y bydd yn dystiolaeth yn eu herbyn, erbyn y delo y diwedd. Eithr cyn y delo Mab y Dyn, "efe a ddenfyn ei angylion o'i flaen, â mawr sain udgorn; a hwy a gasglant ei etholedigion ef ynghyd o'r pedwar gwynt, o eithafoedd y nefoedd hyd eu heithafoedd hwynt," megys i arch o ddiogelwch, er i'r anwiriaid a'r beilchion gael eu difa gan y diluw tân; canys "fel yr oedd yn nyddiau Noah, y bydd hefyd yn nyfodiad Mab y Dyn."

Nid rhyfedd fod y byd crefyddol yn methu credu hyn; oblegid pe byddent yn ei gredu, ni fyddai dyddiau Mab y Dyn megys dyddiau Noah, ac ni ddeuai geiriau Crist i ben. Mae y byd yn ymddwyn yn awr yn gywir fel y rhagfynegwyd y gwnelent,

Mae gweision anfonedig Duw yn yr oes hon, yn cael eu diystyru fel y cafodd Noah, ac ni allant ddysgwyl yn amgenach: yr un yw dull y byd yn awr a chynt—credu yr hyn a fu, a gwadu yr hyn sydd. Pe byddai y byd yn iawn, hwy a gredent yr hyn sydd, yn fwy nâ'r hyn a fu, oblegid eu bod yn ei weled, ei deimlo, a'i amgyffred. Ond mae yn rhaid i blant Adda gael eu ffordd—i fod yn oruchwylwyr iddynt eu hunain, a meddu hawl i ddewis neu wrthod da a drwg. Mae mwy yn mhob oes o'r byd yn gwrthod y da, nag sydd yn ei ddewis: a'r canlyniad yw, nad oes fawr dderbyniad i wirionedd. Mae y ffordd i ddystryw yn llydan, ac y mae llaweroedd yn ei cherdded, gan gredu ei bod yn well nâ'r ffordd gul, yr hon a arweinia i fywyd. Felly yr oedd yn nyddiau Noah, ac felly y mae yn awr, ac felly y bydd hyd nes y gorfodir dynion, trwy gosp, i weled yn wahanol.

Dichon erbyn hyn fod gofyniad yn cyfodi yn meddyliau rhai, —sef, Paham na fuasai Duw yn trefnu cynllun mwy effeithiol er cadwedigaeth holl ddynolryw, ac yntau yn hollalluog? Wel, y gwirionedd yw, fod Duw wedi trefnu y cynllun goreu a ellid, a'r un mwyaf effeithiol er achub holl ddynolryw; ac yn wir, fe wna Duw achub pawb, cyn gorphen ei waith, ond yn unig meibion y golledigaeth, y rhai ydynt wedi pechu yn erbyn yr Ysbryd Glân, a'r rhai ni faddeuir eu pechod yn y byd hwn, nac yn y byd a ddaw. Er fod Iesu Grist wedi dweyd, mai "y neb a gredo, ac a fedyddier, a fydd cadwedig; eithr y neb ni chredo, a gondemnir;" etto fe all dynion gael eu condemnio, fel y cyn-ddiluwiaid, a'u hachub wed'yn. Mae Duw yn gyfiawn, ac hefyd yn drugarog. Os peidia dynion gredu yr efengyl y tro cyntaf, hwy a ddemnir, a hyny yn gyfiawn; ac wedi iddynt dalu y ffyrling eithaf yn ngharchar, cant glywed yr efengyl drachefn, fel yn y diwedd y gallant fod yn gadwedig, a hyny trwy drugaredd Duw. Wedi i'r cyn-ddiluwiaid gael eu dinystrio trwy ddwfr, eu hysbrydoedd condemniedig a yrwyd i garchar; ac yno y buont yn boddloni cyfiawnder, ac yn talu eu ffyrling eithaf, hyd nes y bu i Grist, wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhau yn yr Ysbryd Glân, fyned a phregethu iddynt yn ngharchar, ac agor iddynt ddrws gollyngdod, trwy ordeinio bedydd drostynt ar y ddaear. Dyna fel y mae Duw yn gweithredu; mae ei gynllun ef mor effeithiol, fel yr achuba bawb rhyw dro neu gilydd, oddieithr y rhai hyny a bechant y pechod anfaddeuol.

Gwelwn yn awr, mai fel yr oedd yn nyddiau Noah y bydd hefyd yn nyddiau Mab y Dyn, gyda golwg ar yru ysbrydion y rhai anufydd i garchar. Wedi i drigolion y byd, yn y dyddiau diweddaf hyn, gael eu dinystrio trwy dân, eu hysbrydoedd a yrir i garchar, i ddyoddef o herwydd eu hanufydd-dod; ac ni ddeuant oddi yno cyn y talont y ffyrling eithaf; ac yn gymmaint ag y bydd eu barnedigaeth dymmorol hwy yn fwy nag eiddo y cyn-ddiluwiaid, felly hefyd y bydd eu cosp yn ngharchar yn fwy. Megys hefyd ag yr ysgubwyd pechod oddiar y ddaear trwy y diluw, felly y gwneir etto trwy y tân fflamilyd o'r nef. Wedi cael hyny oddiamgylch, ynghyd â rhwymo y diafol, yna heddwch, a thangnefedd, a chyfiawnder, a gwirionedd, a deyrnasant ar hyd holl wyneb y ddaear; ac y daw i ben yr amser y tybia crefyddolion yr oes hon sydd i ddyfod i ben cyn dyfodiad yr Arglwydd, a chyn eu dinystr hwythau.

Ewyllys yr Arglwydd a wneler, a boed i bawb gydnabod ei awdurdod, ac ymostwng yn y llwch ger ei fron, gan ufyddhau i'w efengyl yn yr amser cymmeradwy, fel na fo iddynt gael eu dal yn ddisymmwth gan ei ddyfodiad, a threngu yn nystryw mawr yr annuwiolion, yn y dyddiau sydd yn dyfod, megys ag y bu yn nyddiau Noah. O, gwrandawed pawb genadwri ein Duw, sef y genadwri a ymddiriedwyd i'w brophwyd Joseph; bydded i bawb edifarhau ar frys, fel eu bedyddier er maddeuant pechodau, ac fel y derbyniont ddawn yr Ysbryd Glân, fel y byddont hwythau hefyd barod, canys yr awr ni thybiant y daw Mab y Dyn, ac y dygwydda yn gyffelyb i'r modd y dygwyddodd yn nyddiau Noah.

---

## DILYN FFYDD Y BLAENORIAID.

"Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw: ffydd y rhai dilynwch, gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt." —HEB. XIII, 7.

Y MAE braidd pob enwad crefyddol yn cymmeryd yr adnod uchod yn destun angladdol, yn neillduol ar yr achlysur o ymadawiad un o'r hen flaenoriaid. Yr wyf finnau yn teimlo awydd i wneyd rhai sylwadau yn awr ar y geiriau uchod, er mwyn cael allan a ydyw ein cyfeillion yn eu hiawn ddeall ai peidio. Y

mae pob plaid grefyddol yn tybied mai eu plaid hwy yn unig sydd yn iawn; ac felly, credant fod eu blaenoriaid yn genadon dros Grist, ac mae hwynthwy sydd yn teilyngu iddynt i feddwl am danynt, &c. Yn awr, er mwyn egluro, cawn nodi rhai o enwadau parchus ein gwlad. Wedi i rai o flaenoriaid parchus yr enwad o Annibynwyr farw, ceir clywed y blaenoriaid ereill yn annog yr eglwys i feddwl am danynt, a dilyn eu ffydd, &c., yn ol cynghor yr Apostol. Felly hefyd y gwna yr enwad parchus o Fedyddwyr ddefnyddio yr adnod uchod ar ol marwolaeth rhai o'r hen flaenoriaid o'u plith: rhoddant gynghorion dwys i'w heglwys hwythau, nid yn unig i "feddwl am danynt," ond hefyd i "ddilyn eu ffydd," ac "ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt." Yr un modd y gwna yr enwadau parchus o Wesleyaid, Methodistiaid, Arminiaid, Undodiaid, &c., heb achos eu henwi oll; creda yr holl gymdeithasau hyn, ar eu penau eu hunain, fod yr Apostol yn eu cynghori hwy i feddwl am, a dilyn ffydd eu blaenoriaid *hwy*. Wel, ai nid hyny a feddyliai yr Apostol? Nage. Beth ynte? Onid yw yn dywedyd, "Meddyliwch am *eich* blaenoriaid?" Ydyw. Ond ai tybied fod yr Apostol yn dywedyd wrth yr holl bleidiau a nodwyd, a chant yn rhagor, "Meddyliwch am *eich* blaenoriaid?" "Na, na," medd un enwad, "nid at neb blaenoriaid, ond ein blaenoriaid *ni* y cyfeiria y geiriau." A thra y dywed un blaid hynyna, dywed cant o bleidiau ereill yn groes, a chreda pawb fel y dywedais, mai eu blaenoriaid *hwy* sydd i "feddwl am danynt." Yn ngwyneb hyn, y mae yn anhawdd penderfynu ffydd pwy a ddilynwn. Ond syndod! pa raid dweyd cymmaint ar bwnc sydd mor eglur? At bwy yr ysgrifenai yr Apostol y llythyr hwn? onid at yr Hebreaid? "Ië, ïe; ond gellir cymhwyso y geiriau at eglwys Crist yn mhob man," meddai yr enwadau. A chaniatâu hyny, y mae yn rhaid chwilio yn mhellach cyn penderfynu mai *eich* blaenoriaid *chwi* a feddylir; ac os mai eich blaenoriaid *chwi* a feddylir, gall pob plaid arall fod yn ddystaw, oblegid mai at *un* blaid yr oedd yr Apostol yn ysgrifenu, ac nid oes gan Dduw ond un Eglwys ar y ddaear. Ond at y pwnc; pa flaenoriaid a feddylir? Y mae yr Apostol yn ateb, "y rhai a draethasant i chwi *air* Duw." Mae yn wir y gall pawb adrodd neu draethu geiriau a fydd Duw wedi eu llefaru, fel y gwnaeth y diafol wrth ein Harglwydd Iesu Grist (gwel Math. iv), ond peth arall yw

traethu y gair fel y mae yn yr Iesu, neu fel ag y traethodd yr Iesu ef; cyfaddefa pob plaid Gristionogol mai "gair Duw" a draethodd Crist a'r apostolion; ac er mwyn bod yn fyr, gwnawn chwilio pa beth a draethasant hwy i drigolion y byd, ac yna caiff pob plaid chwilio a yw eu blaenoriaid hwy yn traethu yr un geiriau; ac os nad ydynt, nid yw yn ddyledswydd ar neb i "feddwl am danynt" gyda bwriad i "ddilyn eu ffydd." Pan ddeuai rhyw bechadur at Grist, neu ei apostolion, i ymofyn am y ffordd i gael cadwedigaeth i'w enaid, ni ddysgent ddim yn amgen nâ chredu yn yr Iesu, bedydd edifeirwch er maddeuant pechodau, arddodiad dwylaw er derbyn dawn yr Ysbryd Glân, &c.; a gallwn herio y byd i brofi yn groes. Yn awr, gofynaf mewn sobrwydd i'm cyfeillion, a yw yr egwyddorion yna yn cael eu traethu gan flaenoriaid pleidiau crefyddol yr oes; os nad ydynt, ofer yw dilyn eu ffydd *hwy*.

Ereill a ddywedant mai cyfeirio mae y geiriau at yr hen frodyr sydd wedi blaenu, megys yr hen batriarchiaid a'r prophwydi, ynghyd â'r hen apostolion ffyddlawn; ac O mor fynych y dywedir yn debyg i hyn:—"Mor hoff yw genym 'feddwl' am yr hen dduwiolion fu yn weision ffyddlawn dros Dduw ar y ddaear, megys Abraham, Isaac, a Jacob; ac O mor hyfryd yw 'meddwl' am ddewrder Moses wrth arwain meibion Israel o'r Aifft i Ganaan, ynghyd ag am amynedd Job a doethineb Solomon," &c. Beth pe gofynem i'r cyfeillion anwyl hyn, paham y gwnant hwy "feddwl" am danynt? yr ateb gaem yw, "Am fod yr Apostol yn gorchymyn i 'feddwl am ein blaenoriaid.'" Mae yn dda genym glywed parodrwydd ein cyfeillion i ufyddhau i gynghor yr apostol, trwy "feddwl am y blaenoriaid;" a chan eu bod yn ufyddhau i'r rhan gyntaf o'r adnod, awn gam yn nes yn mlaen nâ'r "Meddyliwch am eich blaenoriaid," sef at "FFYDD y rhai dilynwch." Os yw yn ddyledswydd i ufyddhau i'r rhan gyntaf o'r adnod, onid yw yr un cymmaint o ddyledswydd i ufyddhau hefyd i'r ail, sef "ffydd y rhai dilynwch." Mae yr Apostol yn gosod cymmaint o bwys ar y naill orchymyn a'r llall; a'r hwn a wna ufyddhau i un, nid yw yn ddieuog heb ufyddhau i'r llall, oblegid "yr hwn a ballo mewn un pwnc a fydd yn euog o'r cwbl."

Dywed enwadau crefyddol yr oes hon nad oes eisieu y "ffydd" hono yn awr. Pa reswm sydd ganddynt dros hyny? a oes gan-

ddynt ryw ran o'r ysgrythyr i brofi eu dywediad? Na, nid oes ganddynt ddim cymmaint ag un adnod. A oes genym ni ryw sail i gredu fod yn ddyledswydd arnom i geisio yr un *fath ffydd* ag oedd gan yr hen batriarchiaid, y prophwydi, yr apostolion, yn nghyd â'r cyn-saint? Oes; o herwydd y mae yr Apostol yn dywedyd yn bendant, "ffydd *y rhai* dilynwch." Ai tybied fod gwir anghenrheidrwydd am y fath ffydd hono yn ein dyddiau ni yn awr? Oes, os yw y Beibl yn dysgu yn iawn, oblegid fe ddywed ef yn bendant, mai "heb ffydd ammhosibl yw rhyngu bodd Duw;" ac yn awr, pwy na wel, os na wnawn ryngu bodd ein Duw, nad ofer yw ein holl grefydd. Y mae rhyw fath o ffydd, feddyliwn, gan bob dyn; ond cyn y gallwn ryngu bodd ein Duw, rhaid i ni ymdrechu cael y "ffydd hono a roddwyd unwaith i'r saint;" yr hon ffydd ag oedd yn eu hannog, wedi iddynt gael eu bedyddio er maddeuant pechodau, &c., i geisio y doniau ysbrydol, trwy osodiad dwylaw yr henaduriaeth, megys llefaru â thafodau, prophwydo, canu â'r ysbryd ac â'r deall, &c.; a phan fyddai un yn glaf, yr oedd trwy y "ffydd a roddwyd unwaith i'r saint," yn galw ato henuriaid yr eglwys, yn ol cynghor yr apostol Iago. Beth wnelai yr henuriaid hyn, ar ol iddynt ddyfod at y claf? ai darllen pennod, a gweddio, heb wneyd dim arall? Hwy a weinyddent arno, "gan ei eneinnio ef ag olew, yn enw yr Arglwydd," a thrwy *weddi'r ffydd* yr oedd y claf yn cael ei iachâu; ac felly, cyflawnid addewid yr Iesu, sef "Ar y cleifion y rhoddant eu dwylaw, a hwy a fyddant iach." Os dywed ein cyfeillion, fod ganddynt ffydd yn Nuw, ac heb weithredu fel, nac ymdrechu am y ffydd hono ag oedd gan saint y dyddiau gynt, dywedaf yn ngeiriau'r prydydd—

> "*Ffydd* heb weithredoedd, *marw* yw,
> Medd geiriau y Duw geirwir,
> Heb roi ufydd-dod, nid mewn rhith,
> Pechadur byth ni chedwir."

Yn awr, ddarllenydd anwyl, yr ydwyf wedi nodi ychydig allan o lawer, o enghreifftiau ysgrythyrol, i brofio pa fath ffydd oedd yn meddiant yr hen flaenoriaid gynt: gelli dithau chwilio etto, o ddechreu Genesis hyd ddiwedd y Dadguddiad, ac yna cai weled pa fath ffydd oedd gan yr hen dduwiolion, ag y mae crefyddwyr y wlad mor barod i "feddwl am danynt," sef Noah, Lot, Abraham, Isaac, Jacob, Moses, Aaron, Elias, Enoc, Dafydd, a Solomon, a

lluoedd ereill sydd yn rhy aml eu henwi; a chan fod Duw wedi tystio ei fod wedi cael ei foddloni ynddynt, dywedaf yn ngeiriau yr Apostol, "FFYDD *y rhai* DILYNWCH."

*Tre-Sior, Merthyr.* THOMAS HARRIES.

---

## METHODISTIAID WESLEYAIDD YN ERBYN MORMONIAETH.

"W. T. R. sydd Fethodist Wesleyaidd, ond y mae yn ofidus ganddo ddweyd fod Methodistiaeth yn y ddarfodedigaeth; ac y mae hefyd yn dweyd fod y bobl, yn ei gartrefle yn Nghymru, 'yn cael eu blino yn druenus gan y sect benboeth ac hereticaidd a elwir Mormoniaid, pa rai sydd yn cymmeryd arnynt eu hunain yr enw o Gristionogion, a chyda mwy o hyfdra yr enw o Saint. Maent wedi twyllo ac arwain ymaith rai o'n haelodau mwyaf selog a gwresog, ac hyd y nod yr ysgolheigion yn yr ysgol Sabbothol, trwy eu hymadrodd a'u llyfrau niweidiol. Dywedant wrthynt nad yw'r Beibl yn rheol ddigonol, a bod yr holl sectau yn gyfeiliornus; ac unwaith y siarado pobl â hwynt, neu y darllenont eu llyfrau niweidiol, nid yr un rhai a fyddant ar ol hyny. Mae yn beth ofnadwy fod y fath bobl yn cael myned yn y blaen i dwyllo y bobl yn y modd y maent; ac yr oedd yn ddrwg iawn genyf eich clywed chwi yn siarad mor fwynaidd am danynt yn yr Herald,' &c. Ond bai pwy yw os ydyw Methodistiaeth yn darfod? Ai nid am ei bod wedi colli ei heffeithioldeb, neu wedi myned yn hen, ac yn agos i'w diwedd? Pa fodd y medrwn roi bywyd mewn esgyrn sychion? Ymddengys nad yw sel a duwioldeb Methodistiaid i ymddibynu llawer arnynt, gan eu bod yn syrthio mor rhwydd o flaen nerth Mormoniaeth. Fe ddylai y Methodistiaid ddarparu arfogaeth well a mwy newydd. Efallai fod eu cleddyfau wedi rhydu; neu efallai mai un-miniog ydynt, fel cleddyfau y Tyrciaid. Rhaid bod rhywbeth yn feius. Ond os oes ar ein ffrynd y Methodist eisieu tipyn o allu gwladol i roi y Mormoniaid i lawr, fe ddylai gofio y byddai yn dda iawn gan y Puseyaid gael yr un gallu i roi y Methodistiaid i lawr, pa rai a ystyriant hwy sydd yr un mor dwyiledig. Mewn brwydr sectau, y gwanaf—fel mewn brwydrau ereill—a raid yn y diwedd roi i fyny. Ni lwydda Mormoniaeth ond gyda gwehilion cymdeithas;

nid ydyw yn addas i galon cymdeithas, mwy nag yw Methodistiaeth yn addas i'r gradd uchaf, ond yn unig y canol a'r isel radd. Y pwnc ymfudol yw nerth mawr Mormoniaeth. Pe byddai gan y Methodistiaid drefedigaeth yn y byd newydd, neu drysorfa ymfudol, hwy a gaent allan y dylanwadai hyny er ychwanegu at eu rhifedi."—*Family Herald.*

Mae yn amlwg i'r meddwl diragfarn am eirwiredd y dyfyniad uchod o eiddo golygydd yr Herald, mewn perthynas i'r Methodistiaid, sef nad ydynt yn cynnwys yr uchel radd, ond y canol a'r isel radd; ac hefyd mewn perthynas i Formoniaeth, dywed nad yw gymhwys i galon cymdeithas, yn ol dull yr oes bresennol, ond yn unig i weddillion cymdeithas. Mor gywir yw ei ddarluniad. Beth a ddywed yr ysgrythyr? Dywed mai ysgubion a gwehillion y byd, a sorod pob dim. oedd nodweddiad pobl Dduw, ac nad oedd y byd yn deilwng o honynt, a llawer llai ynte y Babiloniaid, ag sydd a'u dystryw i gymmeryd lle mewn un awr; ac o achos nad oes lle i Formoniaid yn nghalon cymdeithas bresennol, maent am gasglu, trwy orchymyn Duw, i Seion, fel na fyddant gyd-gyfranogion â'r Babiloniaid, nac o bechodau a phlaau Babilon. Mae Duw yn gorchymyn i'w apostolion a'i brophwydi lawenhau y pryd hwn, pan welant gwymp y ddinas fawr hono, a phan yr anrheithir cymmaint cyfoeth, ac hefyd yr oll o'r cenedloedd anufydd. Mae Duw y pryd hwn am edrych ar Israel gyda thrugaredd, gan gofio ei gyfammodau ag Abraham, Isaac, a Jacob, trwy gasglu gweddillion Israel etto yn un gorlan; a bydd i'r Iesu deyrnasu mewn cyfiawnder ac heddwch, hyd nes y perffeithir yr oll o'r Saint gydag Abraham ffyddlawn. Er mwyn hyn y mae'r Mormoniaid yn myned i Ddyffryn y Mynyddoedd, ac nid er mwyn chwilio am aur California, fel dywed pobl y byd, ond i chwilio allan o drysorau yr efengyl dragywyddol, bethau newydd a hen, ac i fyw yno ar bob gair a ddaw allan o enau Duw, trwy ei weision awdurdodedig, pa rai a'n tywysant i bob gwirionedd.

*Rhuddlan.* W. M. I.

---

## AMSER Y BYWYD DYNOL.

Y MAE Duw wedi appwyntio awr ein hymddatodiad, megys ag y mae wedi penodi mynyd ein genedigaeth. Ond nid yw amser

ein bywioliaeth yn ymddibynu ar dynghed anocheladwy, o herwydd nid oes y fath beth yn y byd. Geill terfyniad ein bywyd ddygwydd yn gynnarach neu yn ddiweddarach, neu ddim oll; a gellai'r dyn sydd yn marw heddyw, fod wedi ymadael â'r byd mewn cyfnod foreuach, neu bellach. Nid yw Duw yn cyfrif ein dyddiau wrth ryw ddeddf ddiammodol, yr hon sydd yn anymddibynol ar amgylchiadau. Y mae ef yn anfeidrol ddoeth, ac yn gweithredu o hyd ar ryw egwyddor deilwng: o herwydd rhesymau cywir, gan hyny, y mae efe yn gweled yn gymhwys fod i bob dyn farw ar yr amser neillduol y mae yn benderfynu. Ond y mae yspaid ein bywioliaeth wedi ei benodi yn anghyfnewidiol, er nad yw yn cael ei lywodraethu gan gyfreithiau tynghed. Pan fyddo cyfnod ein hymddatodiad yn dynesu, y mae rhyw achos ag sydd yn ddiball yn ei achlysuru, os na rwystrir ef gan allu goruwch. Y mae un yn marw o glefyd marwol, un arall trwy ryw ddygwyddiad di-ragweledig; dinystrir rhai trwy dân, ac ereill trwy ddwfr. Y mae Duw yn rhagweled yr achosion amrywiol hyn, ac nid yw yn aros yn edrychwr segur ar eu heffaith; y mae efe yn sylwi arnynt gyda gofal, yn eu cymharu hwynt â'i fwriadau, ac yn edrych pa un a wna efe eu cymmeradwyaw hwynt neu beidio. Os yw ef yn eu hewyllysio, y mae yn penderfynu yn gyfatebol, ac yn gwneyd deddf ddwyfol, trwy rinwedd yr hon y mae'r dyn yn marw ar y cyfryw amser, neu trwy y cyfryw ddygwyddiad. Fel ag yr oedd y Duwdod o bob tragywyddoldeb, yn adnabyddus â'r rhesymau y rhai sydd yn ei gynhyrfu ef yn awr, fe wnaeth ef y pryd hyny yr un farn ag yn bresennol, ac wedi ei sefydlu yn anniddymadwy. Ond y mae yn bosibl, er hyny, y gallant beidio cael ei gymmeradwyaeth; ac os mai fel hyn y bydd, y mae ef o leiaf yn penderfynu rhoi caniatâd iddynt. Ac os yw ef fel hyn yn penderfynu yr hyn ag oedd ef wedi arfaethu yn flaenorol, fe ddylem ni farw yn y cyfnod pan oedd yr achosion hyn yn bodoli. Yr oedd efe yn ewyllysio rhoddi i ni oes hirach, ac nid yw yn cymmeradwyo yr achosion ag sydd yn ei therfynu, ond nid yw yn gydweddol â'i ddoethineb i'w gwrthwynebu hwynt. Y mae ef yn canfod y greadigaeth yn gyffredinol, ac y mae yn cael ei gymhell i ganiatâu ein marwolaeth ar y cyfryw amser, er nad yw yn cymmeradwyo yr achosion, y dull, a'r amgylchiadau cydfynedol â hi. Mae ei ddoethineb yn cyfarwyddo ein marwolaeth i ddybenion

defnyddiol, neu ynte y mae yn rhagweled na fyddai oes hirach yn llesol i ni ein hunain nac i'r byd; neu efallai, y byddai yn rheidiol cael cydundeb newydd o bethau, yn anghydweddol â'i drefn gyffredinol ef, i'w bestyn. Yn fyr, er y geill Duwdod anghymmeradwyo yr achlysur, y mae ganddo ef o hyd y rhesymau doethaf dros ganiatâu y dygwyddiad ag sydd yn ei ddilyn.

Dylai yr ystyriaethau hyn ennyn ynom wroldeb cristionogol gyferbyn â dynesiad angeu. Yr ansicrwydd o'i ddyfodiad sydd yn ei wneyd mor ddychrynllyd. Pe byddem yn cael ein hysbysu yn flaenorol pa bryd neu pa fodd y caem farw, fe wnai mewn mesur mawr yru ein hofn i ffwrdd, a'n harfogi â chalondid. Nid all dim ein gwroli mor effeithiol nâ'r meddwl ein bod yn cael ein hamddiffyn gan Ragluniaeth oruwch-lywodraethol, yr hon sydd yn estyn neu fyrhau ein dyddiau fel ag y mae yn gweled oreu, am amser ac am dragywyddoldeb. Wedi ein perswadio o'r gwirionedd dyddanus hwn, gallwn ddysgwyl angeu gyda thawelwch duwiol; a chan fod ei ddyfodiad yn ansicr, fod o hyd yn barod i'w gwrdd. Yr ydym ni yn anwybodus yn ddiau o'r amgylchiadau cydfynedol ag ef, ond y mae yn ddigon i wybod fod ein holl orchwylion dan ofal amgeleddol Bod trugarog. Bydded i hyn ein cynnal ni drwy ein pererindod daearol; ac, yn rhydd oddiwrth ofalon pryderus, bydded i ni ymostwng i drefniadau rhagluniaeth, a pheidio ofni rhag peryglon at y rhai y'n gelwir gan lais dyledswydd.

*Cyf.* I. M.

[Taer ddymunir arnom i gyhoeddi y dernyn uchod, â'r hyn yr ydym wedi cydsynio, serch y gall rhai pethau, efallai, fod ynddo nad ydynt yn hollol yn ein boddloni.—Gol.]

---

## MYFYRDODAU AR WEITHREDOEDD DUW, WEDI EU TYNU O'R YSGRYTHYR SANTAIDD.

"Gwrandaw hyn, Job; saf, ac ystyria ryfeddodau Duw,"—Job 37, 14. "Efe a wnaeth y ddaear trwy ei nerth, efe a sicrhaodd y byd trwy ei ddoethineb, ac a estynodd y nefoedd trwy ei synwyr,"—Jer. 10, 12. "A Duw a ddywedodd, Bydded goleuni, a goleuni a fu: A Duw a welodd y goleuni mai da oedd; a Duw a wahanodd rhwng y goleuni a'r tywyllwch; a Duw a alwodd y goleuni yn ddydd, a'r tywyllwch a alwodd efe yn nos,"—Gen. 1,

3—5. "O Arglwydd fy Nuw, tra mawr ydwyt; gwisgaist ogoniant a harddwch. Yr hwn wyt yn gwisgo goleuni fel dilledyn; ac yn taenu y nefoedd fel llèn. Yr hwn sydd yn gosod tylathau ei ystafelloedd yn y dyfroedd, yn gwneuthur y cymylau yn gerbyd iddo, ac yn rhodio ar adenydd y gwynt. Yr hwn sydd yn gwneuthur ei genadon yn ysbrydion, a'i weinidogion yn dân fflamllyd. Töaist hi â'r gorddyfnder, megys â gwisg; y dyfroedd a safant goruwch y mynyddoedd,"—Salm 104, 1—6. "Y mae efe yn taenu y gogledd ar y gwagle; y mae efe yn crogi y ddaear ar ddiddym. Y mae efe yn rhwymo y dyfroedd yn ei gymylau; ac nid ydyw y cwmwl yn hollti o danynt hwy. Efe a rana y môr â'i nerth; ac a dery ei falchder â'i ddoethineb,"—Job 26, 7, 8, 12. "Canys efe a wna y defnynau dyfroedd yn fân; hwy a dywalltant wlaw fel y byddo ei darth; yr hwn a ddifera, ac a ddefnyna y cymylau ar ddyn yn helaeth. Hefyd, a ddeall dyn daeniadau y cymylau, a thwrf ei babell ef? Wele, efe a daenodd ei oleuni arno, ac a orchuddiodd waelod y môr,"—Job 36, 27—30. "Duw a wna daranau â'i lais yn rhyfedd; y mae yn gwneuthur pethau mwy nag a wyddom ni. Canys efe a ddywed wrth yr eira, Bydd ar y ddaear; ac wrth gawod o wlaw, ac wrth wlaw mawr ei nerth ef. Efe a selia law pob dyn, fel yr adwaeno pawb ei waith ef. Yna yr â'r bwystfil i'w loches, ac y trig yn ei le. O'r deau y daw corwynt; ac oerni oddiwrth y gogledd. A'i wynt y rhydd Duw rew; a lled y dyfroedd a gyfyngir. Hefyd efe a flina gwmwl yn dyfrhau; efe a wasgar ei gwmwl goleu. Ac y mae hwnw yn ymdroi oddi amgylch wrth ei lywodraeth ef: fel y gwnelont hwy, beth bynag a orchymyno efe iddynt; ar hyd wyneb y byd ar y ddaear. Pa un bynag ai yn gospedigaeth, ai i'w ddaear, ai er daioni, efe a bar iddo ddyfod,"—Job 37, 5—13. "Y mae efe yn ddoeth o galon, ac yn alluog o nerth: pwy a ymgaledodd yn ei erbyn ef, ac a lwyddodd? Yr hwn sydd yn symud mynyddoedd, ac heb wybod iddynt: yr hwn sydd yn eu dychwelyd hwynt yn ei ddigofaint. Yr hwn sydd yn cynhyrfu y ddaear allan o'i lle, fel y cryno ei cholofnau hi. Yr hwn a ddywed wrth yr haul, ac ni chyfyd; ac a selia ar y sêr. Yr hwn yn unig sydd yn taenu y nefoedd, ac yn sathru ar dònau y môr. Yr hwn sydd yn gwneuthur Arcturus, Orïon, a Phleiades, ac ystafelloedd y dehau. Yr hwn sydd yn gwneuthur pethau mawrion anchwiliadwy, a rhyfeddodau aneirif,"—Job 9, 4—

10. "Ti a holltais y ffynnon a'r afon: ti a ddyhysbyddaist afonydd cryfion. Y dydd sydd eiddot ti, y nos hefyd sydd eiddot ti: ti a barotoaist oleuni a haul. Ti a osodaist holl derfynau y ddaear; ti a luniaist haf a gauaf,"—Salm 76, 15—17. "Gyrodd y dwyreinwynt yn y nefoedd; ac yn ei nerth y dug efe ddeheuwynt,"—Salm 78, 26. "Mae efe yn dyfrhau y bryniau o'i ystafelloedd: y ddaear a ddigonir o ffrwyth dy weithredoedd. Mae yn peri i'r gwellt dyfu i'r anifeiliaid, a llysiau i wasanaeth dyn: fel y dygo fara allan o'r ddaear,"—Salm 104, 13, 14. "Efe sydd yn rhoddi i'r anifel ei borthiant, ac i gywion y gigfran, pan lefant,"—Salm 147, 9. "Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd dy waredydd, a'r hwn a'th luniodd o'r groth, Myfi yw yr Arglwydd sydd yn gwneuthur pob peth, yn estyn y nefoedd fy hunan, yn lledu y ddaear o honof fy hun,"—Esay 44, 24. "Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, creawdydd y nefoedd, y Duw ei hun a luniodd y ddaear, ac a'i gwnaeth; efe a'i sicrhaodd hi, ni chreodd hi yn ofer, i'w phreswylio y lluniodd hi: Myfi yw yr Arglwydd, ac nid neb amgen,"—Esay 45, 18. "Cofiwch y pethau gynt erioed; canys myfi ydwyf Dduw, ac nid neb arall,"—Esay 46, 9. "Yr wyf yn llunio goleuni, ac yn creu tywyllwch; myfi yr Arglwydd sydd yn gwneuthur yr holl bethau hyn."

---

## AMYNEDD.

TON—"Boreu Teg," neu "Island Mary."

'RWY'N gweled hoff deuluoedd byd,  
Y tad, y fam, a'r plant ynghyd,  
Rhai'n wylo ac yn groes o hyd,  
Mewn anghen mawr Amynedd;  
Mewn gofid, ing, a galar, llid,  
Mewn helbul ac mewn tristwch byd,  
Mewn croesau mawrion, mae o hyd  
Wir anghen mawr Amynedd.

Wrth edrych ar weithfeydd y byd,  
'Rwy'n gwel'd eu trais a'u brad o hyd,  
Eu huchel drem annynol fryd,  
Mae da im' yw Amynedd;

Trais y masgnachwr is y rhod,
A dd'wed fod dial mawr i ddod;
Fe letha'r gwan o dan ei dro'd,—
'Rwy'n hynod am Amynedd.

Ac yntau'r gwan fedd ysbryd trais,
Gorthrymu yw ei uchel gais;
Am hyn fy nghân, fy nghwyn, a'm llais
Sydd beunydd am Amynedd;
Ac hefyd celfyddydwyr byd
Ymboenant dan eu iau o hyd;
Y mae'r rhai hyn, a phawb ynghyd
Mewn angheu mawr Amynedd.

Trafaelwyr ar hin frwd ac oer,
A'r llongwyr druain ar y môr,
Ymfudwyr hefyd raid wrth stôr
O rywiog wiw Amynedd;
Mae holl ymlusgiaid daear lawr,
A chreaduriaid fach a mawr,
Ehediaid nefoedd sydd bob awr,
Mewn anghen mawr Amynedd.

A ninnau hoff gyd-seintiau gwiw
A ddylem beunydd weddio Duw,
Am feddu cyflawn fodd i fyw
O rywiog wiw Amynedd:
O Arglwydd Iôr, 'rwy'n gweddio'n brudd,
Rho hon i bawb o deulu'r ffydd;
'Rwy'n gweled hyn yn rhwydd bob dydd,
Mai gwerthfawr yw Amynedd.

Hi'm ceidw'n dawel yn fy lle
Wrth gwrdd â chroesau dan y ne';
Nis gallaf deithio tua thre',
Heb gymhorth pur Amynedd
Os trof fy ngwyneb tua'r de,
Neu'r gogledd, 'does wahaniaeth ble,
Nid oes un man o dan y ne'
Heb anghen mawr Amynedd.

Yn awr rhaid im' derfynu 'nghân,
Rho gymhorth glew dy Ysbryd Glân,
I bara'n ffyddlon yn y blaen,
Trwy gymhorth dwys Amynedd:
Tydi, O Dduw, bia'r clod i gyd,
A mawl dy bobloedd hoff o hyd,
A'u holl wasanaeth yn y byd,
Ond, rho i ni Amynedd.

*Mountain Ash.* JOHN RICHARDS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y DYN cyfoethog a fydd byw yn ddedwydd, cyhyd ag y byddo yn defnyddio ei gyfoeth yn gymmedrol; a'r dyn tlawd, ag sydd yn goddef ei anghenion yn amyneddgar, sydd yn ddigon cyfoethog.

MAE llwyddiant wedi bod bob amser yn achos o lawer mwy o ddrygau i ddynion nag aflwyddiant; ac y mae yn hawddach i ddyn gyd-ddwyn ag aflwyddiant yn amyneddgar, nâ pheidio anghofio ei hunan mewn llwyddiant.

GOFALWCH am yr hustingwr, ac nac ymddiriedwch eich cyfrinach i'r hwn a ddadguddio gyfrinach un arall i chwi. Pwy a osodai wîn da mewn llestr agenawg?

NID oes ond un gwir hyfrydwch mewn bywyd, a hwnw yw ein dyledswydd. Mor druenus ynte, mor annoeth, ac mor feius yw y dynion sydd yn gwneyd yr un hwnw yn boen!

MAE doethineb heb etifeddiaeth, yn well nag etifeddiaeth heb ddoethineb.

---

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg, ar y 27ain o Fawrth; Sir Frycheiniog, ar y 3ydd o Ebrill; Sir Fynwy, ar y 10fed; Gorllewin Morganwg, ar y 17eg; Llanelli, ar y 24ain; Caerfyrddin, ar y 1af o Fai; Sir Aberteifi, ar yr 8fed; Gogledd Penfro, ar y 15fed; a Deau Penfro, ar y 22ain.

TALIADAU O MAWRTH 4 HYD MAWRTH 10.—Pontypridd, 3s 6c; Llanfabon, 3s 6c; Aberamman, 4s 6c; Hirwaen, 6s; Rhymni, £2 3s; Georgetown, 6s 3c; Merthyr, 15s 3c; Troedyrhiw, 3s.—Cyfanswm, £4 5s.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 12.] MAWRTH 19, 1853. [CYF. V.

## CYNGHOR A CHYMMANFA GYFFREDINOL NEILLDUOL YN NGHYMRU,

*A gynnaliwyd yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr, ar y 12fed, y 13eg, a'r 14eg o Fawrth*, 1853.

### DYDD SADWRN.

YN bresennol—O Lywyddiaeth yr Ynysoedd Prydeinig—S. W. Richards, llywydd, a Levi Richards, cynghorwr.

Cynnorthwywyr—Daniel Spencer, ac Orson Spencer.

O Lywyddiaeth Cymru—William S. Phillips, llywydd, a John Davis a Dan Jones, cynghorwyr.

Bugeiliaid—Thomas Jeremy, a Daniel Daniels.

Llywyddion y Cynnadleddau—Thomas Giles, J. Roberts, Robert Evans, Dewi Elfed Jones, Thomas C. Martell, John Price, a Phillip Sykes. Yr oedd hefyd yn bresennol amryw Gynghorwyr Cynnadleddau, Henuriaid Teithiol, Llywyddion Cangenau a'u Cynghorwyr, a llawer o Henuriaid, &c., &c.

Galwyd y Cynghor i drefn gan yr Henuriad Dan Jones; ac yna canwyd; a gweddiodd yr Henuriad Orson Spencer.

Cydunwyd yn unfrydol i'r Llywydd S. W. Richards lywyddu'r Cynghor.

Y Llywydd S. W. Richards—Frodyr, yr wyf wedi dyfod yma atoch y boreu hwn; a chan eich bod wedi amlygu eich dymuniad i mi lywyddu'r cyfarfod hwn, cynnygaf i chwi ychydig o sylwadau. Gan fy mod yn teimlo dros les gwaith Duw yn

Nghymru, yr wyf wedi presennoli fy hun yma heddyw: yr wyf yn edrych arnoch fel dynion sydd yn teimlo yr un modd. Yr ydym wedi dyfod ynghyd y boreu hwn, i ymgynghori pa fesurau yw y rhai goreu er llwyddiant gwaith Duw yn Nghymru. Nid wyf wedi dyfod yma yn unig er defnyddio yr amser i siarad fy hun, ond i ddeall teimladau yr henuriaid, a'r swyddogion ereill, ar ysgwyddau pa rai mae gwaith Duw yn Nghymru yn pwyso.

Yr Henuriad D. Spencer—Frodyr, yr wyf yn teimlo yn dda i fod gyda chwi y boreu hwn, er fy mod yn ddyeithr-ddyn, pan yn gweled cymmaint o swyddogion ar ba rai y mae gwaith Duw yn ymddibynu yn Nghymru. Tarawyd fi gan sylwadau y Llywydd Richards, sef bod teimladau celyd mewn rhai o honoch; ac yr wyf yn teimlo yr un peth ag ef mewn perthynas i chwi ddywedyd eich meddyliau a'ch teimladau, gan ein bod oll yn frodyr, fel y deuwn yn un; canys os bydd teyrnas wedi ymranu yn erbyn ei hun, nis gall sefyll; am hyny, os oes genych y graddau lleiaf o deimladau celyd, gwaredwch hwynt o'ch mynwesau, ac na fyddwch mewn caethiwed yn hwy. Hyn yw ein dyben yn ymgyfarfod ynghyd y boreu yma. Os oes genych gyhuddiadau gwirioneddol yn erbyn rhyw un, nid yw wahaniaeth pwy, dywedwch hwynt, ac yna fe dröa yr olwyuion yn rhwydd, a dim cyn hyny.

Yr Henuriad Levi Richards—Yr wyf yn hysbys o sefyllfa yr Eglwys yma i raddau pell. Dywedodd y brodyr fod genych gyfle i ddweyd eich teimladau, a dwyn eich cyhuddiadau gerbron. Cofiwch siarad yr hyn a wyddoch, ac nid beth mae ereill yn ddweyd. Os bydd rhyw anhawsdra rhwng dau frawd, yr hyn a allant hwy ei wneyd i fyny eu hunain, heb ei daenu yn mhellach, yna mae yn drosedd mawr i'w daenu.

Treuliwyd y gweddill o'r amser gan Lywyddiaeth Cymru, y bugeiliaid, llywyddion y cynnadleddau, ac ereill, er hysbysu eu teimladau a darlunio sefyllfa y Saint dan eu gofal, ac hefyd gan faterion perthynol i'r Eglwys yn Nghymru; ac yna addoedwyd dros hanner awr.

*Hanner awr wedi dau.*—Dechreuwyd trwy ganu "Tyr'd Ysbryd Glân," &c. Gweddiodd yr Henuriad Thomas Jeremy. Canwyd "Dy Ysbryd di, O Arglwydd mawr."

Y Llywydd S. W. Richards—Frodyr, gwnaf ychydig o sylwadau wrth ddechreu y cyfarfod hwn. Yr wyf wedi eich clywed

yn dweyd eich teimladau, ac y mae yn dda genyf i chwi wneyd hyny, yn hytrach na'u cadw, o herwydd fod y Cynghor hwn wedi ei alw i hyny. Dywedasoch mewn perthynas i ufyddhau i'r Offeiriadaeth: mae hon yn egwyddor na ellir ei deall yn rhy eglur. Os byddwch yn teimlo eich bod yn cael eich gormesu gan neb, mae y drws yn agored, ac y mae genych ryddid i apelio at awdurdodau uwch, yr hyn nid yw yn wrthwynebu yr Offeiriadaeth: y mae yn egwyddor sydd yn perthyn i'r Offeiriadaeth, ac y mae yn hawl ag y mae pob Sant yn feddiannu. Ond amryson â'r Offeiriadaeth, fyddai amryson â'r unig beth trwy ba un eich achubir. Pan mae y brodyr yn eich dysgu y dylai yr Offeiriadaeth eich llywodraethu chwi a'ch eiddo, maent yn eich dysgu yn iawn; ond os gormesant chwi, nid yw yn cyfnewid yr egwyddor, ond hwy a fyddant yn atebol am hyny. Yr Offeiriadaeth yw y gallu mawr llywodraethol sydd yn llywodraethu pob peth; trwy hon yr ydych yn derbyn pob bendith ag yr ydych yn fwynhau, ac ar hon mae eich tynghed ddyfodol yn ymddibynu. Gall yr Arglwydd Iesu Grist, i'r hwn y rhoddwyd pob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear, ddanfon y gwlaw i'r ddaear sychedig, neu ei attal pryd y myno, a thywallt ei fendithion aneirif neu ei felldithion ofnadwy arnom, fel y gwelo yn dda. Mae ef wedi rhoddi rhan o'r Offeiriadaeth hon i ni. Pan adawodd y brawd Dan Jones chwi er ymfudo, dywedasoch iddo eich dysgu i ufyddhau i Offeiriadaeth Duw. Yr oedd yn egwyddor dda a santaidd, mor bur â Duw ei hun; ond os ydych wedi defnyddio yr Offeiriadaeth yn anweddaidd, eich drygioni chwi a fydd, a chwi a gewch ateb am hyny. Mae rhai cyn hyn wedi cymmeryd rhyddid oddiar yr egwyddor o Briodas Nefolaidd, a'i chymmeryd yn esgus i gyflawni eu chwantau drwg; a deuaf yn awr at y gofyniad a ofynwyd, sef "A all dyn ddyfod yn ol i'r Eglwys hon ar ol cyflawni y trosedd o odineb, ar ol cael maddeuant unwaith o'r blaen am hyny?" Mae digon yn ysgrifenedig i ateb hyn; ac yr wyf fi yn teimlo os gwna rhywrai ymhyfrydu ynddo yn ychwaneg, y dylent gael eu diaelodi o'r Eglwys hon yn union, a'u gadael hwynt i ymdrabaeddu yn eu pechodau a'u canlyniadau, hyd nes y rhoddant ddigon o iawn i Dduw am danynt. Ni oddef Ef i'w Offeiriadaeth santaidd gael ei sathru dan draed dynion. Yr wyf yn cynnyg fod yr Henuriad Thomas Pugh yn cael ei dori allan o Eglwys Iesu Grist o Saint

y Dyddiau Diweddaf, am ei droseddiadau; eiliwyd gan y Llywydd William S. Phillips, a chariwyd yn unfrydol.

Wedi hyny, bu llawer o faterion dan sylw.

Yr Henuriad Orson Spencer—Dymunwn addoedi hyd boreu dydd Llun, er olrhain yn mhellach i achwyniadau. Bydded i ni ddyfod ynghyd yma fory i wrandaw gair yr Arglwydd. Os cawsoch gam, cewch eich gwobrwyo am hyny. Ymostyngwch eich hunain, a chewch ddadguddiadau y nefoedd i'ch goleuo a'ch cyfarwyddo, ar ol i chwi ddarfod trefnu yr achosion sydd genych mewn llaw yn awr; a gwae fydd i'r dyn hwnw na ddaw i fod yn un gyda dyscyblion Crist.

Cydunwyd yn unfrydol i addoedi hyd boreu dydd Llun.

Terfynwyd trwy weddi gan yr Henuriad O. Spencer.

### DYDD SUL.—Y GYMMANFA.

*Unarddeg yn y boreu.*—Galwyd y Gymmanfa i drefn gan yr Henuriad Dan Jones. Canwyd, "O, mor deg yw gweled brodyr." Gweddiodd yr Henuriad Daniel Spencer, a chanwyd "Y Gynnadledd hon genedlo."

Cynnygiwyd gan yr Henuriad J. Davis, ac eiliwyd gan yr Henuriad Dan Jones, fod y Llywydd W. S. Phillips i lywyddu y Gymmanfa. Cariwyd.

Y Llywydd Phillips a ddywedodd y byddai y Gymmanfa hon yn leshad mawr i ni, gan fod gweision Duw yn bresennol; a galwodd ar yr Henuriad Daniel Spencer i anerch y gynnulleidfa.

Yr Henuriad D. Spencer—Frodyr a chwiorydd, yr wyf yn teimlo yn bleserus yn eich plith y boreu hwn, ac yr wyf yn credu ein bod oll wedi dyfod ynghyd i'r un dyben. Y mae genym ni y Saint, raddau mwy o lawer o undeb a chariad nag un gymdeithas arall, o herwydd neillduolrwydd ein ffydd oddiwrth bob cymdeithas arall. Yr ydym yn enwad y siaredir yn ddrwg am danom yn mhob man, ac yr ydym wedi aberthu yr anrhydedd o gael enw da. Yn hyn yr ydym yn dyeithrio yn fawr oddiwrth y byd, ac yr ydym yn gorfod aberthu er cael bod yn addas i gael ein gogoneddu. Mae yr ysgrythyr yn dweyd y deuwn yn feibion a merched i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ. A allwn ni gael y bendithion hyn, heb aberthu arian, tai, tiroedd a theimladau, a phob peth? Na allwn. Os deuwn yn gyd-etifeddion â Christ, rhaid i ni gyd-ddyoddef ag Ef. Yn ol hyn ein gwobrwyir. Fel yr

ydych yn hau, felly y medwch, a rhaid i chwi aros ar ol hau yr hâd hyd nes delo amser medi. Mae y ffermwr yn hau yr hâd ychydig yma ac ychydig acw, ac yn aros yn amyneddgar hyd amser medi: felly chwithau. Os byddwch wedi dyoddef ac aberthu eich teimladau, a phob peth ag sydd genych braidd, rhaid i chwi aros amser Duw, ac Efe a'ch gwobrwya ar eich canfed; ac yn ol yr hyn a fyddoch wedi hau, y medwch. Ar yr egwyddor hon y mae ein crefydd ni yn ymddibynu. Dyma drefn Duw, ac y mae yn rhaid i ni fyw wrth bob gair sydd yn dyfod allan o enau Duw trwy ei apostolion a'i brophwydi; ac wrth wneyd fel y dysgant hwy, nad pa faint fydd yr aberth a wnawn, neu'r dyoddefiadau a gawn wrth wneyd hyny, dyma y ffordd y cawn y bendithion mawr a nodais. Ni wna yr Arglwydd ddim ar y ddaear, heb ddadguddio ei gyfrinach i'w weision y prophwydi. Y mae Ef yn rhoddi ei ddadguddiadau trwy yr hwn sydd yn ben ar yr Eglwys ar y ddaear, a'u cyflwyno i waered i ni trwy yr Offeiriadaeth yn ei gwahanol gylchoedd; a phan byddwn ni yn eu gwrthwynebu, yr ydym yn gwrthwynebu Duw ei hun; ond os ufyddhawn, a bod yn ddiwyd i wneuthur yr hyn a orchymynir i ni, beth bynag a fyddom yn ddyoddef wrth wneyd hyny, ni a etifeddwn bethau mawr. Ac os byddwn yn dyoddef o herwydd rhyw ddysgeidiaeth mae ein Llywyddion yn roddi i ni, ac yn meddwl nad yw yn iawn, gallwn apelio at awdurdodau uwch. Dyma ryddid, iawnderau, a breintiau yr Eglwys hon, a'r cydgorffoliad sydd yn bodoli. Pan fyddo eich Llywydd Phillips wedi cael gorchymyn gan Lywyddiaeth Liverpool, a'i fod yn rhoddi yr un gorchymyn i chwithau, os anufydd ewch i hwnw, byddwch yn tynu gwarth ar yr Offeiriadaeth santaidd; ond pan ydych yn gwneuthur fel eich dysgir, er eich bod yn meddwl fod hyny yn ormes, gallwch apelio wedi hyny at awdurdodau uwch am gael cyfiawnder, ac hyd hyny byddwch yn gwneuthur aberth, am ba un eich gwobrwyir ar eich canfed. Gan fod hyn yn drefn yn nheyrnas Dduw, gofynir i ddynion amlygu cymmaint â hyn o ffydd, ac i aberthu eu teimladau a'u hiawnderau am ennyd, ac fe'u gwobrwyir yn ol llaw, canys nid oes wahaniaeth pa cyhyd yr arosant am weinyddiad cyfiawnder. A oedd yn edrych yn beth rhesymol i Abraham aberthu Isaac? Ar yr un tir, a yw yn beth rhesymol i chwithau aberthu rhywbeth o herwydd ffaeleddau eich Llywyddiaeth? Ydyw. Beth pe dywedai Abraham, Nid yw hyn

yn iawn, gormes yw, ac nis aberthaf fy mab; ond nid fel hyn y gwnaeth, ond yn union fel y gorchymynodd Duw iddo. Pan byddwch yn gwneuthur aberth yn yr eglwys hon trwy ufyddhau i'r Offeiriadaeth, yr ydych yn trysori yn y nef. Os rhoddasoch gan punt, rhoddwch bum cant atynt, a mwyaf i gyd fydd eich trysor yn y nef. Bydd hyn yn felysach nâ chenfigen, amryson, a meddyliau drwg. Yr ydym wedi ein bedyddio oll i'r un bedydd, ac wedi yfed o'r un Ysbryd Glân; a phan gollom yr Ysbryd hwn, yr ydym yn methu canfod egwyddorion cyfiawn, ac yr ydym yn myned i ymwneyd â phethau bychain a phlentynaidd, yr un fath a'r Cenedloedd, i amryson â'n gilydd, a dweyd yn ddrwg am ein gilydd. Nid y cariad cyntaf a dderbyniasom yw hwn. O hyn allan, pan y cewch ryw addysgiadau neu orchymynion newyddion, er eu bod yn edrych yn anghyfiawn yn eich golwg, chwi a'u gwnewch, os cadwch yr Ysbryd Glân yn eich meddiant, a gweithredu yn ol ei arweiniad, trwy yr hwn Ysbryd y cewch fywyd tragywyddol. Gwnewch i bob un fel y dymunech i bawb wneuthur i chwithau, a meithrinwch gariad. Pe buasech wedi cadw y cariad cyntaf a dderbyniasoch, ni fuasech wedi myned i amryson â'ch gilydd, a cholli yr Ysbryd Glân. Trwy eich bod yn gyru yr Ysbryd hwn oddiwrthych, yr ydych yn gwarthruddo Crist a'i achos santaidd, ac yn cadw y byd mewn tywyllwch a cholledigaeth, tra y dylech fod yn eu goleuo ac ymdrechu achub eu heneidiau gwerthfawr. Nid yw yr egwyddor a nodais, sef ufydd-dod i'r Offeiriadaeth, yn cyfiawnhau un dyn i fyned i gyflawni pechodau sydd yn unol â'i feddwl llygredig—i groesi dadguddiadau Duw sydd yn ysgrifenedig, a boddhau ei chwantau. Mae yr Arglwydd yn myned i dori y godinebwyr, lladron, puteinwyr, ac holl weithredwyr anwiredd, ymaith oddiar wyneb y ddaear. Yr wyf yn credu eich bod chwi yn ddynion da, a'ch bod mewn ychydig o anhawsder, yr hyn a fydd er lles i chwi. Gobeithiaf y deuwch yn mlaen etto, ac y byddwch yn ddewrion fel y buoch, fel eich dyrchafir a'ch bendithier yn nheyrnas Dduw. Amen.

Yr Henuriad Dan Jones a ddangosodd ardderchogrwydd a mawrhydi doethineb Duw, yr hwn (meddai ef) sydd wedi creu y bydoedd, a gosod y planedau mawrion i droi, pob un yn ei chylch mor gysson, nes y mae hyd y nod ddoethion y ddaear yn medru gwybod hyn, ac hefyd roddi ei goleuni dysclaer yn ei hamser i ddyn; ac y mae yr un Duw anfeidrol ddoeth wedi

gosod y ffrydiau dwfr i redeg trwy y dyffrynoedd heirdd i'r môr, ac nid yw y môr yn myned yn fwy. Yr oedd yn ddywediad gan bobl er ys llawer dydd wrth ddewis brenin, mai "llais y bobl yw llais Duw;" dywedaf finnau, nage; llais Duw yw llais y bobl. Nyni sydd yn derbyn dadguddiadau i waered oddiwrth Dduw, ac nid yw dadguddiadau i fyned i fyny oddiwthym ni at Dduw, yr hwn sydd wedi gosod y drefn ardderchog ar bob peth sydd yn bodoli, a sefydlu cynllun gogoneddus trwy ba un y derbyniasom yr Ysbryd Glân, yr hwn a addawyd i gael aros gyda ni, os byddai i ni gymmeryd ein harwain ganddo. Trwy offerynoliaeth pwy y derbyniasom y trysor gwerthfawr hwn? Trwy yr Offeiriadaeth; ac os ydym am ei gadw gyda ni, ufyddhawn i'n Llywyddion, pa mor annhebyg bynag y byddo y d ysgeidiaeth o fod yn iawn yn ein golwg ni; nid yn ngolwg Duw, cofiwch, ond yn ein golwg ni; a phan fyddo yn unol â'r Athrawiaeth a'r Cyfammodau, a'r llyfrau ereill, y mae yn unol â meddwl Duw. Os rhoddir dysgeidiaeth a gorchymynion i ni, a'u bod yn edrych fel trais a gormes yn ein golwg, gwell i ni aberthu a dyoddef am ychydig, nâ tharaw yn erbyn a cheisio dyfetha gwaith Duw. Trwy wneuthur hyn byddwn yn trysori trysor yn y nef. Ni fydd achos i ni ddigio wrth nac ymddial ar y cyfryw a fyddo yn ein gormesu, o herwydd Duw bia dial, ac Efe a wna gyfiawnder â phawb. Os ydych wedi aberthu, frodyr, a chael trafferth, byddwch amynеddgar, ac na fydded i bethau eich blino. Pan ewch i fyny i deml yr Arglwydd, ac y derbyniwch eich cynnysgaethiadau, ac y mwynhewch fendithion mawr, am ba rai ni chlywodd clust, ni welodd llygad, ac ni ddaeth i galon dyn i ddychymmygu eu gwerth, eu gogoneddusrwydd, a'u hardderchogrwydd, byddwch yn edrych ar bethau sydd wedi myned heibio megys llwch o dan eich traed, a gweled y fath blantos fuoch.

Canwyd, "Fel milwyr dewrion awn yn mlaen."

Terfynwyd trwy weddi gan y Llywydd S. W. Richards.

*Hanner awr wedi dau.*—Dechreuwyd y cyfarfod trwy ganu, a thrwy weddio gan yr Henuriad Daniel Daniels. Yna canwyd.

Yr Henuriad Orson Spencer—Anwyl frodyr, chwiorydd, a chyfeillion, dechreuaf fy sylwadau trwy ofyn rhan yn eich gweddiau, fel y llefarwyf yn ddeallus a than ddylanwad Ysbryd Duw, er eich mwyn chwi yn benaf, ac nid er mwyn fy hunan. A fuoch chwi erioed yn gwrandaw fel hyn ar un o'r offeiriadaeth yn siarad,

ac yn peidio gweddio drosto, o herwydd eich bod yn meddwl ei fod wedi troseddu. Buoch yn gyfeiliornus iawn, os do, canys fe ddylech weddio drosto, am mai mwyaf i gyd oedd yr anghen am eich gweddiau; canys fe allai grym eich gweddiau chwi fod yn gryfach nâ'i ddrwg-fwriad ef. Ni wyddoch nas gallai yr Ysbryd orphwys ar eithaf llew, a'i wneyd megys oen diniwed. Pe bwriadai ef eich dysgu yn gyfeiliornus, nis gallasai braidd wneyd hyny, o herwydd eich ffydd chwi. Ni allasai eich diweddar lywydd, Thomas Pugh, yr hwn a dorwyd allan y ddoe am ei droseddiadau, eich niweidio, pe buasech yn gwylio a gweddio, mwy nag y gallasai Baalam felldithio Israel gynt; ond ar yr un pryd gallasai arwain ei hun i uffern. Gallasech chwi ei ddarllen trwyddo, a'i weled yn gyfeiliornus. Cawsoch ddyoddef am ychydig, a bod yn amyneddgar; yr un peth a wnaeth Dafydd gyda Saul. Dyoddefodd Dafydd, ac anrhydeddodd yr Offeiriadaeth, er fod Saul yn ceisio myned â'i fywyd; a phan gafodd yntau gyfle i ladd Saul, ni wnaeth hyny, gan gydnabod mai eneinniog yr Arglwydd oedd. Gwobrwywyd Dafydd am hyn, a chospwyd Saul trwy gael colli ei fywyd, a chafodd Dafydd y goron yn ei le, trwy aros i amser yr Arglwydd, a gwneyd ei ewyllys, a pharchu ei Offeiriadaeth, serch aberthu cymmaint a wnaeth. Felly, fe weithiodd y cyfan er daioni, ac ni fu Saul amgen nag offeryn i berffeithio Dafydd a damnio ei hun, ac hefyd i ddangos allan gyfiawnder yr Arglwydd yn y pen draw. Felly, yr Arglwydd a oddefodd Pugh i lywyddu arnoch chwi; a goddefodd hefyd i Judas fod yn un o'r deuddeg Apostol, er ei fod yn ariangar ac yn leidr eofn. Mae Duw wedi rhoddi pob dyn yn oruchwyliwr iddo ei hun; ac os yw yn dewis myned i uffern, eled; ond na fydded i'r Saint ereill fyned i wrthwynebu Offeiriadaeth Duw, a myned i uffern gydag ef, o herwydd iddo eu gormesu. Os gwnant felly, byddant debyg i Israel yn yr anialwch, pan wedi colli eu hymddiried yn yr Offeiriadaeth, ac yn gwneuthur llo aur, ac yn meddwl na ddychwelai Moses; yn anghofio y bendithion a dderbyniasant trwy allu Offeiriadaeth Duw, yr hon a fu yn dŵr cadarn iddynt cyhyd ag yr oeddynt yn ymddiried ynddi; ond pan gollasent eu hymddiried ynddi, ac y mynent lywodraethu eu hunain, bu iddynt ddyoddef y canlyniadau, trwy gael eu dyfetha mewn amrywiol ffyrdd. Yn awr, ynte, frodyr, na chollwch chwithau eich ymddiried yn eich llywyddiaeth, a dechreu gweled beiau,

&c., ynddynt, yn ol eich tyb chwi; canys gwyddoch eich bod yn credu am eich hunain y byddwch yn freninoedd a breninesau etto, os parhewch yn ffyddlawn, a bydd genych weision a morwynion lawer, a da a deadelloedd, a cherbydau a marchogion, a thrysorau gwerthfawr cyn amled â'r tywod ar làn y môr; a byddwch yn eistedd ar eich gorseddau, wedi ymwisgo mewn dillad gwychion ac addurniadau dysclaer; a bydd genych lywodraeth fawr. Beth pe byddai i'ch hen gymmydogion ddyfod gerllaw i chwi y pryd hwnw, a dweyd, Dyna falchder! a thyna uchder! och fi! mae hyn yn rhyfygus! A fyddai hyny yn iawn? Na fyddai. Os oes rhyw frawd yn parotoi erbyn yr amser hwnw, ni wna neb ond y diafol a'i fath ddigio wrtho am hyny. Yr un teimlad oedd gan Judas, pan yn grwgnach yr enaint gwerthfawr i roddi ar draed yr Iachawdwr, yn lle rhoddi ei werth i'r tlodion. Na theimled neb yma felly, o herwydd fe ddylech feddwl am etifeddu y pethau a enwasom. Mae ein crefydd ni yn dymmorol ac ysbrydol. Chwi y Saint yw etifeddion trysorau tragywyddoldeb. Daw yr amser, os byddwch ffyddlawn, pan fydd eich ystrydoedd wedi eu palmentu ag aur, ac y byddwch mewn cerbydau yn debyg i'r hen ddihenydd Adda, a'r hen brophwyd Elias; a bydd yr olwg ar Seion yn ogoneddus; ond cyn y byddwch yn deilwng o'r gogoniant hyn, rhaid i'r Arglwydd gael prawf o honoch, a rhaid i chwi fod â chalonau agored; ac os byddwch ffyddlawn ar ychydig, Efe a'ch gosoda ar lawer. Mae yn beth cyffredin i'r rhai sydd wedi cael ychydig yn fwy nag ereill, i gam-ddefnyddio yr hyn a gawsant, a myned i golledigaeth o herwydd eu gwastraff. Felly y byddwch chwithau wedi sefyll a chael addysg trwy weled tynghed y cyfryw rai. Yr oedd rhai yma ddoe yn gofyn os yw yr awdurdodau yn Seion yn cymmeradwyo y fath wastraff. Y mae Duw yn llywodraethu yn mhob man, yn y nefoedd, ar y ddaear, ac yn uffern. A ydyw ef yn caniatâu i'r fath beth fod yn ei lywodraeth Ef? Ydyw; caniatâodd i'r diafol ladd plant a gweision yr hen Job wirion, a myned â'i holl anifeiliaid, a thaflu cornelau ei dŷ i lawr, ond iddo beidio myned â'i fywyd, gan ei daraw â chornwydydd o goryn ei ben hyd wadnau ei draed. Dyma ormes, trais, ac anghyfiawnder mawr, onide? Pwy a ganiatâodd y fath beth? Y Brif Lywyddiaeth. Cafodd Job waeth triniaeth nag a gawsoch chwi erioed. A fu ef ar ei golled? Na fu. Cafodd wedy'n fwy o weision, a morwynion, a thrysorau

gwerthfawr, a thecach meibion a merched nag erioed o'r blaen. A fyddwch chwi ar eich colled, os caiff yr arian a roddwch at achos Duw eu cam ddefnyddio? Na fyddwch, ond fe eich gwobrwyir ar eich canfed. Y bobl oreu sydd yn cael eu profi gyntaf, ac yn cael dyoddef gyntaf. Gwn eich bod chwi yn bobl dda, cerais chwi pan adnabum chwi gyntaf, pan ddaeth y brawd Dan Jones atoch gyntaf, ac yr amlygwyd gallu Duw yn eich plith mewn amryw ddull a modd. Ymddiriedwch yn eich llywyddion cyhyd ag y byddont mewn awdurdod arnoch, ac ni fydd y brofedigaeth hon yn lawer i chwi, os byddwch yn cydweled a chyd-deimlo i fyned yn mlaen. Yr wyf wedi pregethu cyfiawnder ac anghyfiawnder i chwi, yr hon ddysgeidiaeth mae y byd yn wrthod. Mae Duw yn caniatâu i'r rhai drwg ddyfod i mewn i'r eglwys, gan ddweyd, Myfi a wn y ffordd i'ch trafod chwi; eithr nid yw yn eu cospi yn union, ond gadael iddynt am ychydig, fel y profer ei blant; ac ni all yr eglwys gael ei pherffeithio heb i'r diafol ddyfod i blith y Saint; ac ni all wneuthur un niwed i chwi, os byddwch yn ffyddlon, ond eich cynnorthwyo yn y blaen. Pwy ddigia gan hyny, ynte? Neb, gobeithiaf. Byddwch amyneddgar, a bendith Duw fyddo gyda chwi, fel y byddoch yn ogoneddus yn ei deyrnas yn dragywydd. Amen.

Canodd yr Henuriad Thomas Giles, "We'll see Joseph Smith and Hyrum."

Y Llywydd S. W. Richards—Nid wyf yn cyfodi i wneyd llawer o sylwadau yn awr, gan fod egwyddorion rhagorol wedi eu dysgu yn barod. Eithr y mae un peth o bwys genyf i wneyd yn hysbys. Yn y Cyngbor y ddoe, daeth pethau allan yn erbyn y diweddar Lywydd Pugh, ag a'i hachosodd i gael ei dori allan, fel nad elai i Seion a'n hymddiried ni ynddo. Meddyliaf y dylai y Gymmanfa yma heddyw ddangos etto eu teimladau yn ei gylch. Meddai y Llywydd Pugh ddylanwad mawr yma unwaith; ond yn lle ei ddefnyddio er eich iachawdwriaeth, gwnaeth hyny er eich niwed. Dymunaf wybod os ydych yn cymmeradwyo ein penderfyniad ni yn ei gylch.

Cyfododd yr Henuriad Dan Jones i ddweyd fod yn ddrwg ganddo am ei hen frawd Pugh, ac yr hoffai achub pob dyn, ond nid un amser ar gost crefydd Crist; ac yr ydych yn gweled, frodyr, medd efe, fod cyfiawnder i gael ei weinyddu ar bawb rywbryd neu gilydd.

Y Llywydd Phillips a osododd y mater o flaen y gynnulleidfa, a chymmeradwywyd toriad allan y brawd Pugh yn unfrydol.

Yr Henuriad Dan Jones—Anwyl frodyr, pan ddaethym yn ol i'r wlad yma, yr oedd fy nheimladau yn wahanol iawn i'r peth oeddynt pan adewais. Gwelodd ein Tad nefol eich bod yn ddigon hen i gael y diafol i'ch plith er eich profi. Gofynaf os gwyddoch mai Eglwys Iesu Grist yw hon? Nid yw cam-ymddygiad un dyn yn newid dwyfoldeb y grefydd ogoneddus hon; ac os yw dyn yn rhodio yn anweddaidd gyda hi, ni ddylem wrthwynebu yr offeiriadaeth o herwydd hyny. Mor bell ag yr ydym yn gwrthwynebu anghyfiawnder, mae yr offeiriadaeth yn ein cefnogi i wneyd felly. Ymddiriedwn ynddi, ynte, a bydded i ni ddyfod yn un; a'r ffordd i ni ddyfod yn un yw cael Ysbryd Duw, yr hwn a'n galluoga i fyned trwy ein holl dreialon; a phan fyddom wedi cyrhaedd pen y mynydd draw trwy lawer o drafferth, ymdrabaeddu, a thychan, byddwn yn edrych yn ol ar y cymylau duon a aethom trwyddynt, a'r caledi mawr a gawsom i ddringo i fyny, a byddwn yn llawenhau na chafodd temtasiynau a gwrthwynebiadau y gelyn ein gorchfygu, gan edrych yn mlaen ar y gogoniant a'r bendithion mawr a fwynhawn yn nheyrnas ein Duw, os byddwn yn ffyddlawn ac amyneddgar am ychydig; a bydd hyny yn well genym na holl arian a thrysorau y byd i gyd.

Wedi canu gan y côr, terfynwyd trwy weddi gan yr Henuriad John Davis.

*Hanner awr wedi chwech.*—Dechreuwyd trwy ganu "Yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw." Gweddiodd yr Henuriad Thomas Giles. Canwyd.

Y Llywydd Samuel W. Richards—Frodyr, chwiorydd, a chyfeillion, dymunaf eich ffydd a'ch gweddiau, fel y'm galluoger i roddi dysgeidiaeth lesol i chwi. Mae genyf lawer o bethau eisieu eu siarad, ac i'r dyben hyn dymunaf gael Ysbryd Duw mewn modd nerthol i wneyd hyny; a boed i chwithau fwynhau yr un Ysbryd, fel y dealloch pa bethau a ddywedaf. Gan fod y neuadd mor orlawn, byddwch mor ddystaw ag y galloch. Mi a ddywedaf wrthych paham y daethom yma heddyw. O herwydd rhai teimladau celyd a fodolai yn rhai o honoch oblegid cam-ymddygiad ereill, ac er mwyn iawn ddeall eich sefyllfa, eich dyddanu, eich adferyd, a'ch boddloni yn eich dymuniadau, os byddant yn unol â chyfiawnder. Paham y gwnawn deimlo yn

galed at ein gilydd? Yr ydym oll yn blant i'r un Tad, ac yr ydym yn meddwl meddiannu yr un gogoniant mawr. Mae egwyddor wedi ei dangos i chwi heddyw, yr hon efallai sydd yn croesi eich teimladau; ond y mae yn rhaid i bob teimladau gydymffurfio ag egwyddorion y grefydd hon, o herwydd nid yw y grefydd hon yn grefydd teimladau. Ymdrechaf ddangos i chwi yma yn Nghymru y ffordd oreu i chwi lwyddo a myned yn y blaen. Mae egwyddor wedi ei dysgu er ys amser yn ol i chwi, yr hon ni ddeallwyd gan rai, pa rai a'i cam-ddefnyddiodd, a gorphenodd hyn oll trwy ddolurio eich teimladau; ac yr ydych oll wedi cael dyoddef am hyn, a bydd yn addysg i chwi er gweithredu yn ddoethach o hyn allan; ond er hyny, nid yw yr egwyddor yn newid. Ystyriwch mai chwi sydd yn feddiannol ar yr Offeiriadaeth, a bod iachawdwriaeth y Saint yn ymddibynu i raddau mawr arnoch, a'ch bod yn gyfrifol i Dduw am danynt; a bydd ei lid a'i ddigofaint ofnadwy Ef arnoch, os gwnewch gamddefnyddio yr Offeiriadaeth. Yr ydych wedi cael eich amddifadu o Ysbryd Duw i raddau pell iawn, o herwydd cam-ymddygiad rhai dynion drwg, un o ba rai sydd wedi ei dori allan. Gwae pwy bynag a â allan o'r Eglwys hon. Gall hyn fod yn rhwystr i rai, pan fyddont wedi dyfod yn ol, i gael eu dyrchafu mor uchel ag y cawsent, pe buasent heb eu tori allan unwaith. Bydd yn ystaen arnynt na ellir ei thynu ymaith yn fuan; ac fe amddifada rhai eu hunain o adgyfodi yn yr adgyfodiad cyntaf, o herwydd myned allan o'r eglwys hon, er eu bod wedi gwneuthur rhai gweithredoedd da tra ynddi. Goddefwyd i'ch gorthrymder ddyfod arnoch er eich profi. Mae llawer o honoch chwi Henuriaid wedi dweyd rhai pethau ddoe ag y dylech gael eich ceryddu am eu dweyd, ond y mae Duw yn drugarog ac yn rhoddi cyfle i'w blant weled eu ffolineb, a dychwelyd ato Ef. Fe fŷn brofi, pwyso, ac adnabod pob teimlad sydd ynoch, fel y gwnaeth i Abraham, trwy ddweyd wrtho am aberthu Isaac. Yr oedd gan Abraham hawl i garu Isaac, ond, meddai Duw, Ni chai ei garu ef yn fwy nâ'm gorchymynion i; ac ni chawn ninnau chwaith garu dim o flaen ei gyfraith Ef. Mae pob peth ydym yn gael gan Dduw, i gael ei ddefnyddio er cario yn mlaen ei fwriadau a'i amcanion anffaeledig Ef.—Teimlwyf i roddi ychydig o gyfarwyddiadau ynghylch yr Offeiriadaeth. Dechreuaf gyda Phrif Lywyddiaeth Cymru. Eu gwaith hwy yw llywyddu dros yr holl Gynnadleddau, er

dyrchafu yr holl Saint yn nheyrnas Dduw. Yn nesaf, dyledswydd y Bugeiliaid yw deall ysbryd ac ewyllys y Brif-lywyddiaeth, a dysgu eu Cynnadleddau yn ol hyny. Mae hawl ganddynt i symud Henuriaid Teithiol o un Gynnadledd i'r llall, fel y gwelont oreu er lles gwaith Duw, a llywodraethu pob achosion; ac y mae eu swydd hwy mor gyfrifol â swydd y Brif-lywyddiaeth, a hyny yn ei lle; ac ni ddylai y Brif-lywyddiaeth ymyraeth â'u busnes hwy cyhyd ag y byddont yn gwneyd eu dyledswydd; a phan na fyddont yn gwneyd hyny, gall y Brif-lywyddiaeth eu symud pryd y mynont, a gosod ereill yn eu lle. Mae y brawd Jones yn lywydd ar y Gynnadledd hon, ac yn ail Gynghorwr i'r Prif-Lywydd; a'i ddyledswydd ef yw ymgynghori â'i frodyr Phillips a Davis ynghylch gwaith Duw; ac os tybia ef, neu arall, y gall lywyddu heb hyny, yna nis gall lwyddo yn dragywydd. Mae yn rhaid iddynt hwy eu trioedd gytuno â'u gilydd, ac yna bydd pob llwyddiant yn ffynu; ond pan y gwahaniaethant, dyna y pryd y teyrnasa amryson ac ymraniad. Gwaith y brawd Jones yw edrych ar ol llywyddion ei Gangenau, ac nid gwaith y Llywydd Phillips; felly hefyd yn mhob Cynnadledd arall. Mae yr Henuriad Jones wedi ei ddanfon yma o Ddyffryn y Mynyddoedd er llesoli a chario iachawdwriaeth i'r bobl hyn, a'r brodyr y Bugeiliaid yma yr un modd. Dylai y Bugeiliaid gael eu rhyddhau oddiwrth fusneson eglwysig, er pregethu a thaenu egwyddorion a dylanwad efengyl yr iachawdwriaeth. Dyledswydd y Brif-lywyddiaeth yw edrych ar ol llywyddion y Cynnadleddau, eu bod yn rhodio yn addas ac yn weddaidd, gan roddi esiampl dda o flaen eu Saint, a gofalu cadw trefn yn eu Cynnadleddau; ac os caiff y Brif-lywyddiaeth achwyniadau yn eu herbyn, bydded iddynt edrych pa beth sydd yn bod, a gweinyddu cyfiawnder. Ymddyged Llywyddion y Cynnadleddau yr un modd tuag at Lywyddion y Cangenau. Nid wyf yn myned i fanylrwydd ynghych y pethau hyn, ond yn unig hysbysu y prif bethau.—Os bydd ffaeledd mewn rhyw frawd, boddlonaf ei esgusodi tra fyddo ffaeledd ynof finnau, hyd nes y gallaf ddiwygio y ffaeledd hwnw ynddo ef. Os meddylia rhywun y digia ei frawd am ddweyd ei fai wrtho, bydded yn sicr o ddweyd wrth hwnw. Dichon fod llawer o honoch yn meddwl eich bod yn gwybod llawer, pan yr edrychwch yn ol ar yr amser na wyddech ddim; eithr nid ydych etto ond megys yn dechreu

yn yr ysgol. Meddyliwyf fy mod wedi llefaru digon; nid yw dda i lefaru gormod, rhag llwytho yn ormodol arnoch. Ymarferwch fyfyrio, a phan flinoch ar un egwyddor, trowch at un arall. Dymunaf ar i chwi oll ddyfod yn un etto, serch i chwi orfod aberthu eich teimladau; bydd hyny yn llawer gwell, a gwobrwyir chwi. Deuwch yma fory, fel y caffoch eich dysgu yn nhrefniadau ac egwyddorion Teyrnas Dduw; a'i Ysbryd fyddo gyda chwi yn oes oesoedd. Amen.

Canwyd, "Ysbryd yr Arglwydd fel tân sydd yn llosgi."

Yr Henuriad Levi Richards—Nid ydym wedi ymgasglu ynghyd i orfoleddu ein bod wedi gorchfygu un gelyn, ond yn unig fod ein henwau yn ysgrifenedig yn y nefoedd. Mi a ddywedaf wrthych pa beth a wnai bawb yma yn iawn cyn pen pedair awr ar hugain, sef fod i bob dyn wneyd ei hunan yn iawn. Pe buasai pawb wedi iawn ddeall y dadguddiadau diweddar a amlygwyd, ni fuasai neb yn meddwl dim am deimladau cul. Nid oes un aberth yn ormod i'w wneyd er mwyn y gwirionedd, canys gwae yr hwn a dorir allan o'r eglwys, oddieithr iddo gael edifeirwch i ddod yn ol; oblegid y mae yn colli bendithion nad all eu hennill yn ol yn oes oesoedd. Mae y brawd a ddywedodd y ddoe na safai efe byth allan o'r eglwys, yn esiampl i bawb. Gwnewch hyn i gyd, a byddwch yn iachawdwyr i'ch hunain. Edrychwch yn mlaen ar y bywydau tragywyddol, a'r bendithion mawr ac aneirif sydd i'w mwynhau, a bydded cywilydd arnoch i amryson dim â'ch gilydd. Duw a'ch bendithio i wneuthur hyn, yw fy ngweddi er mwyn Crist. Amen.

Yr Henuriad T. Jeremy—Frodyr a chwiorydd anwyl, yr wyf yn teimlo yn ddedwydd iawn trwy y dydd heddyw. Dywedaf wrthych hanes y Saint yn fy Nghynnadleddau i. Maent yn teimlo yn llawn o Ysbryd Duw. Mae bedyddio yn myned yn mlaen yno, ac y mae'r Saint mor awyddus am fyned i Seion, nes y maent yn teimlo pe bai adenydd ganddynt, y gallent ehedeg yn groes i'r moroedd tuag yno, lle y mae y fath ryddid a bendithion i'w mwynhau.

Cyfieithodd yr Henuriad Dan Jones yr hyn a ddywedodd y brodyr S. W. Richards a L. Richards, a gwnaeth rai sylwadau ereill fel y canlyn:—Pan yr ydym yn edrych yn mlaen ar yr amser hyfryd sydd yn dyfod, pryd y cawn fyned i mewn i Deml yr Arglwydd, a mwynhau bendithion gwerthfawr, a gogoniant

annesgrifiadwy, ac y cawn ran yn yr adgyfodiad cyntaf gyda'r cyfiawnion, a gwisgo coronau anniflanedig yn nheyrnas ein Duw, ac y cawn deyrnasu yn dragywydd mewn cyflawnder o ogoniant bythol,—dylem aberthu pob rhyw deimladau bychain, a pheidio ymwneyd â rhyw fân-bethau plentynaidd, tra y mae eneidiau ein cyd-ddynion yn ymddibynu arnom i gael eu hachub. Nyni yw iachawdwyr y byd, a phawb sydd yn feddiannol ar gariad Crist, a deimlant i aberthu pob peth er mwyn yr achos gogoneddus hwn, ac a ddywedant, Nid ein meddwl ni, nid ein ffordd ni, ac nid ein hewyllys ni a wneler, ond ewyllys Duw.

Wedi ychydig o eiriau gan y Llywydd Phillips, yna canwyd "Terfynu wnawn yn awr;" a therfynwyd y Gymmanfa trwy weddi gan y Llywydd S. W. Richards.

*(I'w barhau.)*

---

## CAN YMADAWOL.

FFARWEL, fy mrodyr hoff i gyd,
A'm holl chwiorydd tirion,
'Rwyf bron a 'madael â fy ngwlad,
I ddechreu'm taith i Seion:
Fe fydd hiraeth arnaf bennydd,
Am eich gweled oll yn ddedwydd,
Wedi myned o'r caethiwed,
A chael derbyn gwir ymwared,
Yn y Dyffryn dedwydd draw,
Lle daw yr holl ffyddloniaid,

Mi dreuliais amryw flwyddi maith,
Yn eich cwmpeini'n ffyddlon,
Gan roddi i chwi ymborth pur,
A'ch cadw'n iach eich calon:
Mi ddymunaf i chwi beunydd,
Fyw'n gytun a charu'ch gilydd,
Byw yn ufydd idd eich Llywydd,
Fel y byddoch oll yn ddedwydd,
Yn mwynhau holl ddoniau'r Nef,
Rhan hyfryd mewn llawenydd.

Fe roddwyd rhai'n gan Iôr ein Tad,
O fewn ei eglwys wiwlon,
Prophwydi, apostolion gwiw,
Bugeiliaid ac athrawon,
Idd eich harwain at berffeithrwydd,
Trwy ffyddlondeb a diwydrwydd,

Gan ofalu idd eich dysgu
'N holl orch'mynion pur yr Iesu,
Y rhai a roddwyd i chwi'n llon,
Trwy gariad i'ch gwaredu.
Yn awr, cyn gorphen hyn o gân,
Dymunwn fod yn drefnus,
Gan roi fy mendith i chwi oll,
Fel byddoch yn gysurus;
Bod yn barod o un bwriad,
Nid mewn llid, ond llawn o gariad,
Gyda'ch gilydd o un galon,
Fel dewr weision a morwynion,
I adeiliadu Teyrnas Iôr,
A bod yn gyd-'tifeddion.

*Aberamman.* JOHN EDMUNDS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

**CAEL** rhan o dda y byd sydd yn drugaredd; ond cael y byd yn rhan sydd yn drueni.

**NID** yw dynion beilchion byth yn ennill cyfeillion; mewn llwyddiant, nid ydynt hwy yn adnabod neb; ac mewn aflwyddiant nid oes neb yn eu hadnabod hwy.

**Y FONWENT** yw y farchnadfa, lle mae pethau y byd hwn yn cael eu cywir brisio.

### CYFIAWNDER DUW.

Rhyfeddol yw cyfiawnder Duw,
Weinyddodd ef i ddynol ryw,
Yn ol ei feddwl Ef ei hun,
Ac nid 'nol chwant a mympwy dyn.

*Merthyr.* W. LEWIS.

---

**TALIADAU O MAWRTH 11 HYD MAWRTH 17.**—Sir Fynwy, 1s 2c; Llanelli, £1 8s; Gorllewin Morganwg, £10; Dyffryn Conwy, 15s; Sir Ddinbych, £1; Caerdyf, 14s; Aberdar, 10s; Cwmbach, £1 2s; Rymni, £1 0s 6c; Merthyr, 9s 10c; Cefn, 14s 6c; Ffynnon-Tydfil, 2s.—Cyfanswm, £17 17s.

**CYFEIRIADAU.**—Thomas Jeremy, care of Isaac Jones, Weaver, Quay-street, Carmarthen.—John Parry, High Gate, St. George, near St. Asaph, Denbighshire.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 13.] MAWRTH 26, 1853. [CYF. V.

## PRIODAS NEFOLAIDD:

### DADGUDDIAD AR Y DREFN BATRIARCHAIDD O BRIODAS, NEU AMLEDD GWRAGEDD.

*A roddwyd i Joseph Smith, y Gweledydd, yn Nauvoo, Gor.* 12, 1843.

[Allan o'r "Seer."]

[CYFEIRIWN y darllenydd i'r UDGORN, Rhif. 1 o'r gyfrol hon, lle y mae y Dadguddiad uchod yn gyhoeddedig eisoes, yn lle ei gopïo yma fel y gwneir yn y "Seer," a dechreuwn gyda y sylwadau sydd yn canlyn y Dadguddiad, fel y canlyn:—]

Mae Amledd Gwragedd yn athrawiaeth dra phoblogaidd yn mysg y rhan fwyaf o ddynolryw yn yr oes hon. Arferir hi gan genedloedd mwyaf galluog Asia ac Affrica, a chan genedloedd lliosog a breswyliant ynysoedd y môr, a chan genedloedd brodorol y byd mawr newydd. Mae y gyfundraeth un-wreigaidd yn gyfyngedig i ychydig o genedloedd bychain a breswyliant Ewrop, ac i'r rhai o ddechreuad Ewropaidd ag ydynt yn cyfanneddu America. Cyfrifir gan haneswyr galluocaf ein hoes, fod oddeutu pedair rhan o bump o drigolion y byd yn credu ac yn ymarferyd, yn ol eu gwahanol gyfreithiau, yr athrawiaeth o Amledd Gwragedd. Os yw poblogrwydd athrawiaeth yn gyferbyniol i'r nifer sydd yn credu ynddi, yna mae yn canlyn fod y gyfundraeth o Amledd Gwragedd, yn bedwar gwaith mwy poblogaidd yn mhlith trigolion y ddaear, nâ'r gyfundraeth Un-wreigaidd.

Mae y cenedloedd hyny ag ydynt yn ymarfer â'r athrawiaeth o Amledd Gwragedd yn ei ystyried mor rhinweddol ac mor iawn i ddyn gael amryw wragedd, ag yw iddo gael dim ond un. Gan hyny, y maent wedi gwneyd cyfreithiau, nid yn unig er mwyn rhoddi yr hawl hon i'w deiliaid, eithr hefyd er mwyn eu hamddiffyn ynddi, a chospi yr holl rai hyny a droseddant ar burdeb y cyfammod priodasol trwy gyflawni godineb ag unrhyw un o wragedd ei gymmydog. Nid yw y cenedloedd hyny yn ystyried fod yn bosibl i ddyn gyflawni godineb gydag unrhyw un o'r menywod y priodwyd ef â hwynt yn ol eu cyfreithiau hwy. Mae yr hiliogaeth a gyfodir i'r gwr trwy bob un o'i wragedd, yn cael eu hystyried oll yn gyfreithlawn, a gwneir darpariaethau yn eu cyfreithiau gogyfer â'r plant hyny, yr un fath â phe byddent yn blant un wraig. Mae godineb, puteindra, a phob ymddygiad anrhinweddol rhwng y rhywiau, yn cael eu cospi yn llym ganddynt. Yn wir, ystyrir Aml-wreigiaeth yn eu plith hwy, nid yn unig yn rhinweddol a chyfreithlawn, eithr yn attalfa neu rwystr mawr rhag godineb a chyssylltiadau anghyfreithlawn, y rhai ydynt yn mhlith y drygau mwyaf â pha rai y melldithir y cenedloedd, ac yr achosir llawer iawn o ddyoddefiadau a thrueni, difrod a marwolaeth; gan ddisylfaenu unig sylfaen dedwyddwch, a dinystrio cyfansoddiad cymdeithas, ac heddwch y cylch teuluaidd.

Mae rhai o genedloedd Ewrop ag sydd yn credu yn y gyfundraeth un-wreigaidd, mewn gwirionedd wedi gwahardd amledd gwragedd trwy eu cyfreithiau; a'r canlyniadau ydynt, fod yr holl wlad yn eu mysg yn cael ei llenwi gan yr ymarferiadau mwyaf ffiaidd; y mae godineb a chyssylltiadau anghyfreithlawn yn ffynu trwy eu holl bentrefi, trefi, dinasoedd, a lleoedd gwledig, i raddau erchyll. Ac yn mhlith rhai o'r cenedloedd yma y mae'r ceuffosydd hyn o ddrygioni, gresyni, a thrueni, yn cael eu trwyddedu trwy y gyfraith; tra yr arswydai eu duwioldeb yn ddirfawr i awdurdodi trwy y gyfraith y gyfundraeth o Amledd Gwragedd, fel ei mabwysiadir gan lawer o'r cenedloedd cymmydogaethol.

Nid yw Ffurf-lywodraeth a chyfreithiau yr Unol Daleithiau, gan eu bod wedi eu sylfaenu ar egwyddorion rhyddid, yn ymyraeth â pherthynasau priodasol, eithr yn gadael y genedl yn rhydd i gredu ac ymarfer yr athrawiaeth o Amledd Gwragedd, neu gyfyngu eu hunain i'r gyfundraeth un-wreigaidd, fel y dewisont. Mae hyn megys y dylai fod: gadawa gydwybod dyn yn ddi-

gaethiwed, a chyhyd ag y byddo heb niweidio neb, ac heb droseddu ar iawnderau ereill, gadewir ef yn rhydd gan y Ffurf-lywodraeth i briodi un wraig, neu amryw, neu ddim un, a bydd yn gyfrifol i Dduw am gyfiawnder neu anghyfiawnder ei berthynasau teuluaidd.

Mae y Ffurf-lywodraeth yn gadael y gwahanol Daleithiau a Thiriogaethau i wneyd y cyfryw gyfreithiau ag a welant hwy addasaf o barthed i Briodasau, os na throseddant ar iawnderau cydwybod a'r rhyddid a sicrheir yn yr ysgrif gyssegredig hono. Gan hyny, pe byddai rhyw Dalaeth neu Diriogaeth yn teimlo i wneyd cyfreithiau er sicrhau i bob un o'i deiliaid yr hawl o briodi amryw wragedd, byddai y cyfryw gyfreithiau yn berffaith unol â'r Ffurf-lywodraeth; o ganlyniad, mae y gwahanol Daleithiau a Thiriogaethau yn ymarferyd y gyfundraeth un-wreigaidd o ddewisiad, ac nid o herwydd eu bod o dan unrhyw rwymau i wneuthur felly gan y Ffurf-lywodraeth Genedlaethol. Yn wir, yr ydym yn ammau yn fawr pa un a oes gan unrhyw Dalaeth neu Diriogaeth hawl gyfreithlawn i wneyd cyfreithiau yn gwahardd yr athrawiaeth o Aml-wreigiaeth, lle y mae yn cael ei harferyd gan gymdeithasau crefyddol, fel mater o gydwybod neu fel athrawiaeth o'u credo grefyddol. Mae yr erthygl cyntaf o'r Diwygiadau yn y Ffurf-lywodraeth, yn dywedyd yn bendant, "Ni chaiff Congress wneyd cyfraith yn ynghylch sefydliad crefydd, neu *wahardd y rhydd ymarferiad o honi.*" Yn awr, os nad oes hyd y nod gan y Congress ei hun awdurdod i wneyd cyfraith "yn gwahardd rhydd-ymarferiad Crefydd," yna pa faint llai sydd gan ryw Dalaeth neu Diriogaeth i wneyd cyfraith felly?

Yr oedd yr athrawiaeth o Amledd Gwragedd yn cael ei chredu a'i hymarferyd gan Abraham, tad y ffyddloniaid; ac yr ydym yn cael allan, tra yr oedd efe yn yr ymarferiad hwn, fod angylion Duw yn fynych yn gweinyddu iddo, ac unwaith yn ciniawa gydag ef; a bod Duw wedi amlygu ei hun iddo, ac yn cyd-ymddyddan ag ef. Ni wnaeth Duw na'i angylion geryddu Abraham am fod yn Aml-wreigiwr, eithr yn y gwrthwyneb, yr Hollalluog a'i bendithiodd yn fawr ac a roddodd addewidion iddo ynghylch Isaac ac Ishmael, gan eglur ddangos i Abraham ymarferyd yr hyn a elwir Aml-wreigiaeth dan gymmeradwyaeth yr Hollalluog. Yn awr, os cafodd tad y ffyddloniaid ei fendithio felly, yn ddiau ni ddylai gael ei ystyried yn anghrefyddol i'r ffyddloniaid, y rhai a

elwir yn blant iddo, gael rhodio yn ôl traed eu tad Abraham. Yn wir, pe buasai yr Arglwydd ei hunan, trwy ei brophwyd santaidd, yn rhoddi rhagor o wragedd i'w weision, megys ag y rhoddodd hwynt i'r prophwyd Dafydd, buasai yn bechod mawr ynddynt i wrthod yr hyn y mae Ef yn roddi. Mewn amgylchiad felly, byddai yn fater o gydwybod gyda hwynt, ac yn ran o'u crefydd, a byddent yn rhwym o weithredu eu ffydd yn yr athrawiaeth hon, a'i hymarferyd, neu gael eu condemnio; gan hyny, ni fyddai gan y Congress hawl i wahardd rhydd-ymarferiad y rhan hon o'u crefydd; ac ni fyddai gan y Taleithiau neu y Tiriogaethau hawl gyfreithlawn, i wneyd cyfraith "yn gwahardd y rhydd-ymarferiad o honi." Yn awr, y mae rhyw gymdeithas grefyddol, a elwir Ysgydwyr (*Shakers*), yn credu nad yw yn iawn iddynt hwy briodi hyd y nod un wraig; byddai yn anghyfreithlawn yn ddiau i'r Congress neu y Taleithiau i wneyd cyfraith i orfodi pawb i briodi pan o ryw oedran neillduol, oblegid byddai yn troseddu ar iawnderau cydwybod yn mysg yr Ysgydwyr, a chaent hwythau eu gwahardd i rydd-ymaferiad o'u crefydd.

Oddiwrth y Dadguddiad blaenorol, a roddwyd trwy Joseph y Gweledydd, gwelir fod Duw mewn gwirionedd wedi gorchymyn i rai o'i weision gymmeryd rhagor o wragedd, ac wedi nodi allan rhyw ddyledswyddau o barthed i'r seremoni briodasol, gan ddangos fod yn rhaid iddynt gael eu priodi dros amser a thros bob tragywyddoldeb, a chan ddangos y manteision a geir mewn sefyllfa ddyfodol trwy yr undeb tragywyddol hwn, a chan ddangos etto yn mhellach, os gwrthodent ufyddhau i'r gorchymyn hwn, ar ol i'r gyfraith gael ei hegluro iddynt, y caent eu damnio. Mae y dadguddiad hwn, ynte, yn ei wneyd yn fater o gydwybod yn mhlith Saint y Dyddiau Diweddaf oll; ac y maent hwy yn ei gofleidio fel rhan a chyfran o'u crefydd, ac yn llwyr gredu nas gellir eu hachub a'i wrthod. A oes hawl, ynte, gan y Congress i wneyd cyfreithiau er "gwahardd" i Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf "*rydd-ymarferiad*" yr erthygl hon o'u crefydd? A oes gan ryw rai o'r Taleithiau neu Diriogaethau hawl gyfreithlawn i wneyd cyfreithiau "yn gwahardd y rhydd-ymarferiad o'r grefydd" ag y mae Eglwys y Saint yn cydwybodol a chywir gredu sydd yn anghenrheidiol er eu hiachawdwriaeth? Nas oes; nid oes ganddynt y fath hawl.

Mae gan Saint y Dyddiau Diweddaf yr ymddiried mwyaf yn yr holl ddadguddiadau a roddwyd trwy Joseph y Prophwyd; a hwy a roddent eu bywydau i lawr, ac a ddyoddefent ferthyrdod, yn gynt o lawer nag y gwadent y dadguddiadau lleiaf erioed a roddwyd iddo. Yn un o'r dadguddiadau trwyddo ef, darllenwn i Dduw gyfodi i fyny ddynion doeth a'u hysbrydoli i ysgrifenu Ffurf-lywodraeth ein gwlad, fel y caffai rhyddid y bobl ei gadw, yn ol yr ewyllys rydd a roddodd Efe iddynt; fel y byddai pob dyn yn gyfrifol i Dduw ac nid i ddyn, mor bell ag y mae athrawiaethau crefyddol a chydwybod yn dal cyssylltiad. A pha fwyaf y sylwn ar yr offeryn cyssegredig hwnw, a luniwyd trwy ddoethineb ein tadau enwog, mwyaf i gyd y gorfodir ni i gredu fod gallu anweledig yn eu llywodraethu, eu hyfforddi, a'u cyfarwyddo wrth osod sylfaen rhyddid ar y byd mawr gorllewinol hwn. I'r wlad hon gall y Mahomedan—yr Hindw—y Chinëad—ymfudo, a phob un i ddwyn gydag ef ei ugain o wragedd, a'i gant o blant, ac ni wna Ffurf-lywodraeth ogoneddus ein gwlad ymyraeth â'i berthynasau teuluaidd. O dan faniar lydan y Ffurf-lywodraeth, efe a amddiffynir yn ei holl gyssylltiadau teuluaidd; nid oes hawl gan neb i dynu rhyw rai o'i wragedd neu ei blant oddi wrtho. Felly yr un modd, o dan blygiadau llydain y Ffurf-lywodraeth, medda Cynnullfa Ddeddfwrol Tiriogaeth Utah yr hawl o reoleiddio eu perthynasau priodasol, ac amddiffyn pob un o'u dinasyddion yn yr hawl o briodi un neu lawer o wragedd, megys y bo yr amgylchiad. Pe diddymai y Congress y cyfreithiau hyny, nis gallent wneyd hyny ar y tir o'u bod yn groes i'r Ffurf-lywodraeth. Ac hyd y nod pe diddymid hwynt gan y Congress, etto ni fyddai un gyfraith yn Utah, yn gwahardd y rhydd ymarferiad o'r hawl grefyddol hono: ac nid yw dinasyddion Utah yn teimlo tuedd i basio y fath weithred anghyfreithlawn ag a droseddai ar iawnderau mwyaf cyssegredig cydwybod.

Mae gan draddodiad ac arferiad ddylanwad mawr ar genedloedd. Mae defodau hir sefydledig, pa un bynag a fyddont yn iawn neu gyfeiliornus, yn dyfod yn gyssegredig yn nghyfrif dynolryw. Y cenedloedd hyny ag ydynt wedi bod yn ymarferol er ys cyn cof â'r hyn a elwir yn Aml-wreigiaeth, a ystyrient gyfraith yn ei ddiddymu, fel yr eithafnod o anghyfiawnder a gorthrymder; byddai i'r meddylddrych o gael eu cyfyngu i'r gyfundraeth

un-wreigaidd, gael ei ystyried nid yn unig yn orthrymus ac anghyfiawn, eithr yn hollol wrthun a [dirmygus; ystyrid ef yn gyfnewidiad ar hen arferion, defodau, a chyfreithiau cenedloedd lliosog a galluog; yn gyfnewidiad o'r cymmeriad gwaethaf, a'i duedd i ddinystrio iawnderau a rhagorfreintiau mwyaf cyssegredig cymdeithasau teuluaidd—i ddadymchwelyd hyd y nod sylfaeni iawnderau personol, y rhai a wnaed yn anwyl a chyssegredig trwy gael eu trosglwyddo i waered iddynt hwy o'r oesoedd mwyaf henafiaethol.

Ar y llaw arall, y cenedloedd Ewropaidd, y rhai am ganrifoedd ydynt wedi eu caethiwo gan gyfraith wrth yr athrawiaeth o unwreigiaeth, a'i hystyrient yn gyfnewidiad enbyd ar arferion eu tadau i ddiddymu eu cyfreithiau rhwymiadol, ac i roddi rhyddid, yn ol cyfundraeth aml-wreigiaeth. Arferiad, ynte, i raddau mawr, sydd yn ffurfio cydwybod cenedloedd a phersonau o barthed i'r pethynasau priodasol. Mae arferiad yn achosi i bedair rhan o bump o boblogaeth y byd i benderfynu fod Aml-wreigiaeth, fel ei gelwir, yn ymarferiad da, ac nid drwg; arferiad hefyd a achosa i'r gweddill, neu y pummed ran sydd ar ol, i benderfynu yn groes i'r mwyrif mawr.

Y personau hyny a feddant nerth meddwl digonol i ymddadrys yn llwyr oddiwrth ddylanwad arferiad, ac i chwilio i mewn i'r athrawiaeth o Amledd Gwragedd, dan oleuni Rheswm a Dadguddiad, a gant eu cymhell i'r penderfyniad ei bod yn athrawiaeth o darddiad dwyfol; ei bod yn cael ei choflcidio a'i harferyd dan gymmeradwyaeth ddwyfol, gan y dynion cyfiawnaf a fuont byw erioed ar y ddaear: yr oedd Prophwydi a Phatriarchiaid santaidd, y rhai a ysbrydolid gan yr Ysbryd Glân—y rhai a amgylchynid gan weledigaethau yr Hollalluog—y rhai a ymddyddanent ag angylion santaidd—y rhai a welent Dduw wyneb yn wyneb, ac a ymddyddanent ag Ef megys yr ymddyddana gwr â'i gyfaill—yn "Aml-wreigwyr," hyny yw, yr oedd ganddynt amryw wragedd—cyfodasant i fyny lawer o blant trwyddynt—ac ni cheryddwyd hwynt erioed gan yr Ysbryd Glân, na chan angylion, na chan yr Hollalluog, am gredu ac ymarferyd â'r fath athrawiaeth: yn y gwrthwyneb, pob un o'r "Aml-wreigwyr" hyn a dderbyniodd, trwy ddadguddiad, addewidion, a bendithion, iddo ei hun, i'w wragedd, ac i'w blant lliosog, y rhai a anwyd iddo gan ei wragedd lliosog. Yn mhellach, fe roddodd yr Arglwydd ei hun

ddadguddiad i wahanol wragedd yn perthyn i'r un gwr, gan ddadguddio iddynt y bendithion mawrion a orphwysai ar eu hiliogaeth; yr oedd angylion hefyd yn cael eu danfon i'w cysuro a'u bendithio; ac nid ydym mewn un enghraifft yn cael allan eu bod yn cael eu ceryddu am ymuno mewn priodas ag "Aml-wreigiwr." Yn wir, fe roddodd yr Arglwydd ei hun gyfreithiau, nid i wahardd "Aml-wreigiaeth," eithr i ddangos ei ewyllys o barthed i'r plant a gyfodid i fyny gan wahanol wragedd yr un gwr; ac yn mhellach, fe weinyddodd yr Arglwydd ei hun wrth roddi i Dafydd holl wragedd Saul; dygwyddodd hyn hefyd, pan yr oedd gan Dafydd amryw wragedd eisoes, y rhai a gymmerasai efe yn flaenorol: o ganlyniad, gan i'r Arglwydd yn ddiau roddi i fynwes Dafydd holl wragedd Saul, yr oedd yn rhaid ei fod, nid yn unig yn cymmeradwyo "Aml-wreigiaeth," eithr ei chadarnhau a'i sefydlu ar sylfaen gadarn, trwy roddi y gwragedd ei hun, yr un fath ag y rhoddodd Efa i Adda. Gan hyny, mae y cyfryw ag ydynt wedi llwyr ymddïosg oddiwrth ddylanwad arferion cenedlaethol, ac sydd yn barnu y mater hwn trwy air Duw, yn cael eu gorfodi i gredu fod Amledd Gwragedd yn cael ei gymmeradwyo unwaith, dros lawer o oesoedd, gan yr Hollalluog; a thrwy ymchwiliad pellach etto i'r oraclau dwyfol, ni chant un awgrymiad fod y sefydliad dwyfol hwn erioed wedi ei ddiddymu. Yr oedd yn sefydliad, nid a ddechreuodd dan gyfraith Moses, eithr lawer o amser cyn hyny; ac yn lle cael ei ddiddymu gan y gyfraith hono, cafodd ei gymmeradwyo a'i gario yn y blaen: a phan ddaeth Crist i gyflawni y gyfraith hono, ac i'w dileu trwy ddwyn i mewn gyfammod gwell, ni ddifododd Efe y gyfundraeth o amledd gwragedd: gan nad oedd wedi cael ei dechreuad dan y gyfraith hono, nid oedd yn cael ei gwneyd yn ddirym pan gafodd y gyfraith hono ei dileu. Yn wir, yr oedd llawer o bethau mewn cyssylltiad â'r gyfraith ag na ddilëwyd pan gyflawnwyd y gyfraith; megys, er enghraifft, y deg gorchymyn, y rhai yr oedd y bobl o dan gyfammod yr Efengyl yn rhwym etto o'u hufyddhau; ac hyd nes y cawn ryw gyfraith o eiddo Duw yn dileu ac yn gwahardd amledd gwragedd, gorfodir ni i gredu ei fod yn osodiad dwyfol; ac yn mhellach, gorfodir ni i gredu, os ymwneir â'r gosodiad hwn yn awr, o dan yr un egwyddorion ag oedd yn llywodraethu y santaidd brophwydi a phatriarchiaid, y gwna Duw ei gymmeradwyo yn bresennol gymmaint â'r pryd hyny; a bod y

personau a'i hymarferant yn gydwybodol ac onest, yr un mor anrhydeddus yn ngolwg Duw â'r rhai nad oes ganddynt ond un wraig. Ac fe ddylai yr hyn sydd yn anrhydeddus gerbron Duw, fod yn anrhydeddus gerbron dynion; ac ni ddylai neb gael ei ddiystyru pan y mae yn gweithredu gyda phob cydwybod dda ar unrhyw egwyddor o athrawiaeth; ac ni ddylai fod cyfreithiau yn un o'r Taleithiau neu'r Tiriogaethau i orfodi unrhyw ddyn i weithredu yn groes i gyfarwyddiadau ei gydwybod ei hun; eithr fe ddylai pob un mewn pob materion crefyddol gael ei adael at ei ddewisiad ei hun, ac felly i fod yn gyfrifol i Dduw, ac nid i'w gyd-ddyn.

Os yw pobl y wlad hon yn gyffredinol wedi ffurfio penderfyniadau gwahanol i ni ar y pwnc hwn; ac os ydynt wedi cofleidio crefyddau mwy cydrywiol â'u meddyliau nâ chrefydd y Saint, dywedwn wrthynt, fod iddynt roesaw i'w golygiadau crefyddol eu hunain; ni ddylai y cyfreithiau ymyraeth ag ymarferiad eu hiawnderau crefyddol. Os na allwn ni eich argyhoeddi trwy reswm, na thrwy air Duw, fod eich crefydd yn gau, nis gwnawn ni eich erlid, eithr cynnaliwn chwi yn y rhagorfreintiau a gadarnheir gan Siartr fawr Rhyddid Americanaidd: ninnau a ofynwn oddiwrthych chwithau yr un haelioni,—amddiffynwch ni yn yr ymarferiad o'n hiawnderau crefyddol—argyhoeddwch ni o'n cyfeiliornadau mewn athrawiaeth, os meddwn rai, trwy reswm, trwy ymresymiadau arbwyllegol, neu trwy air Duw, ac ni a fyddwn bob amser yn ddiolchgar am y wybodaeth, a chewch chwithau bob amser feddu yr adgyfyrdod pleserus ddarfod i chwi fod yn offerynau yn nwylaw Duw i achub eich cyd-greaduriaid o'r tywyllwch a ellwch chwi weled yn amgylchynu eu meddyliau. Deuwch, gan hyny, ac ymresymwn ynghyd, gan ymdrechu darganfod y gwir oleuni ar bob pwnc perthynol i'n dedwyddwch tymmorol a thragywyddol; ac os anghytunwn yn ein barnau, priodolwn hyny i wendid ac anmherffeithrwydd ein natur syrthiedig, a thrugarhawn wrth ein gilydd, gan ymdrechu gydag amynedd ac addfwynder i adferyd o gyfeiliornad, ac achub yr enaid anfarwol oddiwrth farwolaeth ddiddiwedd.

*(I'w barhau.)*

## POB PETH YN CYD-WEITHIO ER DAIONI I BLANT A PHOBL DDUW.

MAE plant a phobl Dduw yn rhy barod i anghredu fod "pob peth yn cyd-weithio er daioni" iddynt hwy, pan ddelo profedigaethau, a themtasiynau oddiwrth y byd, y cnawd, a'r diafol i'w cyfarfod; er hyny, mae y gair yn wirionedd ag sydd yn rhy eglur ei wadu. Mae dyn pan ar y ddaear mewn sefyllfa o brawf, a'r cyfryw fydd yn caru Duw, ac yn cadw ei orchymynion, bydd pob peth ag sydd yn dyfod i'w gyfarfod, megys yn cyd-weithio er daioni iddo. Mae llawer yn proffesu eu bod yn caru Duw, ac yn cadw ei orchymynion, pan fyddant mewn hawddfyd, &c.; ond pan ddelo rhyw brofedigaeth, neu demtasiwn i'w cyfarfod, maent yn cael eu gorchfygu yn hollol; a hyny, o herwydd nad oedd ganddynt yn flaenorol wir sêl dros gariad Duw, nac ychwaith wir ymdrech i gadw ei orchymynion. Ond gan nad pa mor aml fydd y profedigaethau a ddaw i gyfarfod â'r gwir Saint, er y costia iddynt wneyd "ymdrech deg," etto deuant allan megys aur o'r ffwrnais, yn fwy pur nag erioed o'r blaen; ac yna dywedant fod yr "oll wedi cyd-weithio er eu daioni a'u perffeithiad," a thystiant eu bod wedi cael mwy o brawf o allu eu Duw, ac o'i ddaioni anfeidrol tuag atynt yn y cyfryw brofedigaeth nag erioed o'r blaen, er eu bod wedi teimlo eu hunain braidd bron a cholli eu gafael ar addewidion eu Duw; ond o herwydd eu penderfyniad diysgog, hwy a gawsant nerth yn ol y dydd, a chymhorth yn ol yr achos, gan yr Hwn sydd yn edrych arnynt, ac yn dywedyd wrthynt, Fy mhlant, y mae pob peth yn cyd-weithio er daioni, i'r rhai sydd yn fy ngharu i, ac yn cadw fy ngorchymynion.

Gallasem brofi yr egwyddor hon, trwy yr Hen a'r Newydd Destamentau, sef fod pob amgylchiad a phrofedigaeth, a ddaeth i gyfarfod plant a phobl Dduw yn y gwahanol oruchwyliaethau, wedi cyd-weithio er eu daioni a'u perffeithiad. Ond ni chafodd neb o saint y dyddiau gynt fwy, na chymmaint o brawf o eirwiredd y geiriau uchod, ag a gafodd Saint yr oes hon. Er enghraifft, gwnawn sylwi fel hyn:—Pan oedd yr Eglwys yn ei babandod, ac ond ychydig iawn wedi cymmeryd aelodiaeth ynddi, gallesid meddwl os byddai iddi gael llonydd oddiwrth erlidigaethau, &c., y byddai iddi lwyddo; ac yn wir, yr oedd

gan ei Phen-bugail Mawr, sef Crist, fwriad iddi lwyddo, nid yn unig mewn un ardal, eithr dros wyneb yr holl ddaear. Ond pa fodd y bu? Pan oedd yr Eglwys, fel y dywedais, yn ei babandod, ac ychydig wedi ei chofleidio, ac wedi derbyn o ddoniau hyfrydol yr Ysbryd Glân ynddi, fe gynhyrfodd plant y fall, a dechreuasant erlid y fychan, gan ei hyspeilio o'i meddiannau; ac yn awr, gorfu i rai o'i swyddogion, yn henuriaid, ac offeiriaid, &c., fyned yma, ac ereill fyned draw, a'r lleill i grwydro ar hyd y wlad i chwilio am le. Fe ddywedai dyn ystyriol, trwy ei ddychymmyg ei hun fel hyn:—"O'r fath drueni, fod yr Eglwys wedi cael ei herlid, a'i hyspeilio, &c., pan yr oedd mor ieuanc; dichon pe byddai yn cael esmwythdra, y byddai iddi gynnyddu a dyfod yn flodeuog, ond yn awr y mae yn cael ei difodi." Na, yr oedd ei phrophwyd, y swyddogion, a'r aelodau yn gyfryw ag oedd yn "caru Duw, ac yn cadw ei orchymynion;" gan hyny, yr oedd ganddynt ffydd y byddai i bob peth gyd weithio er daioni iddynt hwy, ac felly y bu. Yr oedd yr Eglwys ar y cyntaf mewn un lle; wedi hyny cawsant eu gwasgaru gan erlidigaeth. Amcan yr erlidwyr oedd dystrywio y Saint oddiar wyneb y ddaear; ond fe ddarfu iddynt gael eu siomi, trodd y cwbl allan er daioni; er fod y Saint wedi cael eu gwasgaru a'u hamddifadu o gyfeillach eu gilydd i raddau pell, etto yr oeddynt yn derbyn yn helaethach o ddyddanwch yr Ysbryd Glân. Ac yn yr amgylchiadau hyn, yr oeddynt yn ddiwyd yn llafurio, gan gyhoeddi Efengyl Crist yn allu Duw, er iachawdwriaeth i'r sawl a gredai; a thystient i'r bobloedd fod Duw wedi adferyd yr Efengyl dragywyddol i'r ddaear, yn ei llawn bendithion megys cynt; a'r canlyniad oedd, fod y rhai onest eu calonau yn dylifo i'r Eglwys, wrth yr ugeiniau mewn gwahanol fanau; ac yn fuan yr oedd y rhai hyny yn cael tystiolaeth o'r Efengyl, ac yn mwynhau doniau grasusol yr Ysbryd Glân. Gwelwn wrth hyn, fod yr erlidigaeth wedi cyd-weithio er daioni a chynnydd yr Eglwys, trwy i'r Saint gael eu gwasgaru ar hyd y ddaear, gan hau yr hâd da yn mhob man lle yr oeddynt yn myned, a'r Arglwydd yn eu cysuro, ac yn cadarnhau eu cenadwri, trwy amryw nerthoedd, a doniau yr Ysbryd Glân. Nid unwaith, na dwywaith, y bu erlidigaethau o'r natur hyn ar Saint Duw, ar gyfandir yr Americ; ond cyd-weithiodd yr oll er cynnydd yr Eglwys mewn rhifedi, ac er ei pherffeithiad trwy ddyoddefiadau, &c. Er i'r Gweled-

ydd gael ei ladd, a'i frawd gydag ef; ac er i'r Eglwys orfod ffoi i'r anialwch diffaeth, gan adael tai, tiroedd, a'u holl gyfoeth braidd ar ol, yn nwylaw eu hyspeilwyr, bu Duw ganddynt, gan eu harwain am gannoedd o filltiroedd trwy yr anialwch maith; cawsant ddoethineb gan eu Duw i ddofu llid anwariaid ysglyfaethgar y goedwig; ac y mae eu llais heddyw, mewn dyffrynoedd bras rhwng mynyddoedd uchel, yn adsain yn hyfryd, fod "*pob peth* yn cydweithio er daioni i'r sawl sydd yn caru Duw, ac yn cadw ei orchymynion Ef."

Byddai yn felys genym sylwi yn fanylach, ar ymddygiadau plant y byd at deulu Duw yn yr oes hon, ond ni chaniatâ amser ar hyn o bryd. Ond yn fyr, gwnawn alw i gof y darllenydd, am ddechreuad y Saint yn Nghymru. Er ys tua deg mlynedd yn ol, mwy neu lai, daeth un o henuriaid Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf i gylchoedd Merthyr-Tydfil, yr hwn a bregethodd y gair megys y mae yn yr Iesu, a chymmerodd rhai eu bedyddio ganddo, yn enw Iesu Grist er maddeuant pechodau, a thrwy arddodiad ei ddwylaw, derbyniasant ddoniau yr Ysbryd Glân. Yna, aeth y rhai hyny i blith y gwahanol enwadau, gan dystio eu bod wedi derbyn Efengyl Crist, mewn nerth, ac mewn sicrwydd mawr, gan un o Saint y Dyddiau Diweddaf. Erbyn hyn, yr oedd y pleidiau crefyddol yn cynhyrfu; deuent i'r manau lle y byddai y Saint yn pregethu, gan feddwl dal ar yr athrawiaeth, a'i phrofi yn gau; tystient cyn treio mai felly y byddai. Ond yr oedd athrawiaeth y Saint mor ysgrythyrol, fel nad oedd gan y gelynion ddim mwy o le i'w gwrthwynebu ar dir rheswm neu ysgrythyr, nag oedd gan golomen Noah o le i roi ei throed ar dir sych. Wedi methu cael y Beibl yn erbyn y Saint, dechreuasant eu herlid, gan fyned i'r tai lle byddai y Saint yn pregethu, i ddiffodd y canwyllau, tori llestri, whan, a gwneuthur pob dirmyg a allasent, er mwyn gyru y Mormoniaid allan o'r wlad. Yr oeddent wrth hyn yn achosi cyffro yn mhlith y bobl, nes yr oedd llawer yn dyfod i wrandaw; ac wedi hyny, chwilient yr ysgrythyrau, a phleidient yr athrawiaeth, ufyddhaent iddi, yna cawsent dystiolaeth o'i dwyfoldeb. Pe gofynem i'r rhai hyny a ddaeth yn Saint, pa beth a'u tueddodd ar y cyntaf i fyned i wrandaw ar y Saint? Yr ateb gaem gan lawer fyddai, o herwydd fod cymmaint o erlid arnynt gan bawb, ac fod arnynt hwythau awydd i glywed beth oedd ganddynt. Felly, gwelwn, fod pob

erlid, dirmyg, a gwawd, wedi cyd-weithio er daioni, er dwyn y dynion onest eu calon i mewn i Eglwys Dduw. Yna, yr oedd pregethwyr, gweinidogion, offeiriaid, &c., yn dechreu cynhyrfu, gan chwythu bygythion yn erwin, yn erbyn y Saint druain, gan anerch eu gwrandawwyr yn debyg i hyn:—"Gyfeillion bach, mae y Seintiau yma wedi beichiogi ar gymmaint â mynydd mawr o wyrthiau! ond y maent yn methu esgor ar gymmaint â llygoden!! Twyll yw eu holl grefydd; mae oes y gwyrthiau wedi darfod. Dyma y tylwyth fu yn treio cerdded ar y dwr, ac yn methu. Un o'u blaenoriaid fu yn cynghori rhyw wraig i osod *bricks* yn y ffwrn, gan sicrhau y deuent allan yn fara gwyn hyfryd; ond er treio, fe fethwyd. Yn wir, gyfeillion, peidiwch rhoddi clust iddynt; maent yn darfod yn mhob man, a byddant wedi darfod yma cyn pen naw mis, gellwch gredu fy ngair i." Ai nid oedd y Saint yn cael eu niweidio yn awr? Na, cydweithiodd y cwbl er daioni; er cymmaint yr ystoriau a gyhoeddwyd gan eu gelynion, fe'u profwyd yn anwireddus, ac y mae eu holl brophwydoliaethau am ddarfyddiad y Saint, wedi eu profi yn gau gan amser. Ac y mae llawer o ddynion onest eu calon wedi gweled hyny yn awr. Gallem nodi cant a mil o ystoriau yn ychwaneg, sydd wedi eu taenu am y Saint trwy y wlad, ond y maent wedi bod er daioni i'r Saint, gan eu bod wedi eu profi yn anwireddus, er cywilydd i rai. Gallwn ddweyd fel ag y dywedodd y bardd,—

> "Er maint trwch y llwch a'r llaid,—a fwriwyd
> Ar fawredd Mormoniaid;
> Da yw'n ple—mae Duw o'n plaid,
> Er hyll floedd yr holl fleiddiaid!"

Ddarllenydd anwyl, gwel fod pob dyfais wedi methu er rhwystro yr Eglwys hon; yn mlaen yr â er gwaetha'r byd. Os daw rhwystrau etto, o ba natur bynag y byddont, bydd iddynt gyd-weithio er daioni i'r Saint. Paham? Am fod Duw wedi dweyd. A ydwyt ti, ddarllenydd, yn caru Duw, yn parchu ei Offeiriadaeth, ac yn cadw ei orchymynion? Os ydwyt, mawr yw dy fraint!

*Tre-Sior, Merthyr.* THOMAS HARRIES.

## SECTARIAETH YN Y FAGL.

Cyfansoddwyd y pennillion canlynol ar ryw ddiwrnod yn yr Haf, pan anfonwyd am un o brif Barchedigion Morganwg i Aberamman, er dangos ffolineb penboethni y Saint yn credu a phregethu llywodraeth a theyrnasiad *naturiol* a phersonol Crist a'r Saint ar y ddaear, ynghyd â bod gallu ac awdurdod Duw wedi eu cyflwyno i'r ddaear yn y dyddiau diweddaf hyn,—yr hwn gyda llais taranllyd a grochlefai taw "ffolineb yw holl boniadau y Saint, ac mai chwedlau gwrachaidd, Pabaidd, Mahometanaidd, a phaganaidd ydynt oll; *o herwydd teyrnas y nefoedd,*" eb efe, "*o'n mewn ni mae hono.*" Wel, wel, meddwn innau ynof fy hun, pe bai genyf *garavan*, cyflogwn di i fyned trwy ddinasoedd, trefi, pentrefi, a holl leoedd cyhoeddus Prydain Fawr, &c., er dangos rhyfeddodau dy geudod: yn ymyl dy faintioli, ni fyddai holl fanau uchelion byd ond mân fymrynau: a chyda hyn cyffrowyd fy awen i lyfelu a ganlyn, ar y dôn, "Most Wonderful," neu ryw dôn arall, ni waeth pa un. Gyda pharch difyrus i'r Parchedig, yr hwn a'm parcha, ac a berchir genyf, y cyflwynir y *Reverendish Exhibition* hon.

---

Rhyw ddiwrnod yn 'r Haf, a'r bobl yn ymdyru,
Mewn awydd i wrandaw rhyw Barch. yn pregethu,
Yn rhywfodd, yn nghanol y bregeth ragorol,
Y llithrodd rhyw eiriau difyrus rhyfeddol.

BYRDWN.

Wrth weled peth fel hyn, pwy all feio y Mormon
Am chwerthin ha, ha, ha! am ben y Parchedigion?

Pan ydoedd yn nghanol yr hwyl fawr a'r gwaeddi,
Ni wnaeth ond braidd dianc rhag tyngu a rhegu;
Pan welodd ryw Sentyn fan draw ar ei gyfer,
Dyrchafodd ei hopren, gwnaeth olwg ysgeler.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

'Nol carthu ei geg, a gwneuthur ei 'stumiau,
Rhoes waedd gyda rheg, "Yn nghrog y bo'r Seintiau;
'Does fynwyf â gwel'd un o'r Seintiau yn unman—
'Run peth genyf weled y diafol ei hunan."
Wrth weled peth fel hyn, &c.

"Mae'n boendod y byd bod yn eu cymmydogaeth,
'Rwyf bron myn'd yn benwan yn swn eu bathrawiaeth;
Pa reswm, deallwch, fod Saint anllyth'renog,
A'u pregeth yn difa'n doethineb ardderchog?"
Wrth weled peth fel hyn, &c.

"Rhyw haid felldigedig yw'r Seintiau hannercall,
Mae grym eu llefariad yn t'wyllu ein deall;
Mae swyn eu pregethu, fel cleddyf daufiniog,
Yn lladd holl bwerau y mwyaf talentog."
Wrth weled peth fel hyn, &c.

"'Rwy'n teimlo'u lleferydd yn blino 'nghydwybod,
Er na chyfaddefaf mo hanner fy nhrallod;
'Rwy'n gweddio yn ddirgel a dwys ar fy ngliniau,
'O, Arglwydd, gwna gyfraith i ladd yr holl Seintiau.'"
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Ar hyn dyna rywun yn gwaeddi'n y dyrfa,
"Hai ho, hwrli pwrli, daeth ffair fawr Gwylbarna;
Dydd arall y clywais yr un dull o siarad,
Pan fum i yn gwrando yn ffair yr Offeiriad."
Wrth weled peth fel hyn, &c.

"Wirionedd," medd hwn, "truenus yw'ch tynghed,
Mae'r byd ar ei osod a'i wyneb i waered;
Cymmerwch fy nghynghor, gadewch hen alanas,
Yn wir gyda'r Seintiau mae meddiant o'r deyrnas."
Wrth weled peth fel hyn, &c.

"Pa deyrnas yw hono? a glywch chwi'r dyn penwan?"
"Pa deyrnas yw hono! taw, taw, a thaw'n fuan;
Clyw, Teyrnas y nefoedd wyf fi yn ei dadgan—
Gwir ydyw, er iti fy ngalw'n ddyn penwan."
Wrth weled peth fel hyn, &c.

"A galw fi etto, os myni, yn gythraul,
Yn wir dyna'r deyrnas a welwyd gan Daniel."
"'Run peth i ti dd'wedyd am gareg â thyllau,
A dweyd fod y deyrnas yn meddiant y Seintiau."
Wrth weled peth fel hyn, &c.

"Gad heibio dy ferw, dy lol, a dy ddwndwr,
Paid bod mor rhyfygus ag ammau pregethwr;
'Dyw siarad fel hyna ond siarad hen grambo,
Can's, Teyrnas y nefoedd, o'n mewn ni mae hono."
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Wel, wel, ha, ha, ha! dyna siarad pensigil,
Fod teyrnas y nefoedd i gyd yn eich crombil;
Os gwir ydyw hyny, ni raid i chwi ofni,
Chwi ellwch wneyd busnes ryfeddol o honi.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

O brysur fach anwyl, rhyw olwg ysmala
Fydd gweled pregethwr â show yn ei fola;
Ni raid myn'd i Llundain, i'r murmur a'r mwstwr,
Cawn well Exhibition yn mola'r pregethwr.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

New York yr Americ, a dinas fawr Llundain,
Ni fyddant ond mymryn at fola y filain!
Hai, ho! dewch ynghyd, bob gradd heb wahaniaeth,
I wel'd prif ryfeddod yr holl greadigaeth.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Peth cyntaf gewch weled yn nesaf i'r galon,
Yn dyfod i'ch cyfarch, fydd deg o forwynion;
Yn nesaf at hyny, cewch weled hen wreigan,
Yn chwilio yn fanwl am ddernyn o arian.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Os trowch eich golygon i'r deau fan yma,
Cewch weled rhyw liaws â rhwyd yn pysgota;
Fan draw, ar eich cyfer, tu fewn i'r asenau,
Cewch weled yr hauwr yn hau 'r hyd y caeau.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Mae'r lle'n ddigon eglur, ni ellwch gamsynied,
Mae'r brif-ffordd a'r creigle yn amlwg i'w gweled;
Os sylwch, cewch weled yr hadau yn disgyn
Yn mhlith y drain 'spydded sy'n tagu yr egin.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Chwi welwch fod poethder yr haul wedi crino
Yr egin fu unwaith yn glaswyrdd flaguro,
A'r adar fan acw yn disgyn i ddifa ;—
On'd oes rhyw eangder mawr iawn yn ei fola ?
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Edrychwch ychydig tu draw i'r lle dreiniog,
Cewch weled y mwstard yn tyfu'n ardderchog ;
Ni raid i'r pregethwr gael mwstard i'w drafod,
Mae digon o hwnw yn tyfu'n ei geudod.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

(*I'w barhau.*)

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Fe welwyd llun dinas Paris yn ddiweddar yn yr wybren uwch ei phen, megys pe byddai yn cael ei hadlewyrchu mewn drych, yr hyn a achosid, medd rhai, trwy gymmylau eiryog a dysclaer yn adlewyrchu. Dygwyddodd am naw o'r gloch yn y nos.

Ymddengys fod ymchwiliad mawr i egwyddorion y Saint yn Awstralia, a galwad anarferol am eu llyfrau ; tra yn Unol Daleithiau America ymddengys fod Duw wedi rhoi y bobl i drwmgwsg, nes y maent yn hollol ddifater am efengyl ei Fab.

Nac ymffrostiwch yn ormodol yn eich iechyd na'ch nerth ; ond tra yr ydych yn eu mwynhau, bendithiwch Dduw, a defnyddiwch hwynt er ei glod, rhag iddo ef eich amddifadu o honynt.

Bydded i'r egwyddor hon gael ei phlanu yn eich calon,—Nad oes dim i'w ennill trwy bechod, ond trueni ; na dim i'w golli trwy dduwioldeb, ond uffern.

---

Taliadau o Mawrth 18 hyd Mawrth 24.—Dinas, £1 2s; Pontytypridd, 6s ; Aberamman, 3s ; Hirwaen, 2s ; Georgetown, 7s 3c; Ffynnon-Tydfil, 5s 4c; Troedyrhiw, 5s ; Llanfabon, 3s 6c. —Cyfanswm, £2 14s 1c.

☞ Terfyna pen chwarter y llyfrau y dydd olaf o'r mis presennol.

☞ Ymddengys y gweddill o'r Cynghor Cyffredinol Neillduol yn y nesaf.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 14.] EBRILL 2, 1853. [CYF. V.

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 204.]

Y GORCHYMYN mawr cyntaf a roddodd Duw i ddynolryw, fel y mae yn ysgrifenedig yn yr Ysgrythyrau, oedd "*Ffrwythwch, ac amlhewch, a llenwch y ddaear,*" (Gen. i, 28.) Y prif ddyben oedd poblogi y greadigaeth hon â myrddiynau o fodau deallgar a moesol, ar ei lun a'i ddelw Ef ei hun, wedi eu cynnysgaethu â galluoedd tebyg i Dduw, ac yn medru myned yn mlaen yn y radd odidog o ddedwyddwch, hyd nes y derbynient gyflawnder, a dyfod megys Duw, a chael eu gogoneddu ynddo Ef, ac yntau ynddynt hwy, fel y byddent yn un mewn gogoniant, ac mewn gallu, ac mewn llywodraeth. Yn hyn y mae Duw yn cael ei ogoneddu, oblegid fod miliynau ag ydynt yn y diwedd yn dyfod megys Efe ei hun, â pha rai y gall ymgyfeillachu, a'r rhai ydynt yn alluog i amgyffred a gwerthfawrogi holl gyflawnder ei briodoliaethau gogoneddus, a gweithredu gydag Ef yn yr undeb perffeithiaf, yn holl weithredoedd mawreddog y Greadigaeth. Yn hyn yma y mae llywodraeth yr Hollalluog yn cael ei heangu, trwy ychwanegiad bydoedd newydd, wedi eu poblogi â bodau ar ei ffurf ei hun, ac yn ol ei ddull ei hun. Ac yn hyn yma y mae llawenydd, a gorfoledd, a dyddanwch, yn teyrnasu yn mynwes y Creawdwr mawr, yn eu holl gyflawnder a'u perffeithrwydd, oblegid ei fod Ef yn ymarferyd ei anfeidrol ddaioni yn ffurfiad bydoedd dirifedi, wedi eu poblogi â bodau ag y cyfranai efe

iddynt, os byddent ufydd, holl gyflawnder ei berffeithderau mawrion ei hun.

Os yw lliosogiad bodau dynol, ynte, yn ychwanegu at lywodraeth yr Hollalluog, yn gogoneddu ei enw, ac yn rhoddi cyfleusdra iddo er amlygu ei anfeidrol ddaioni, y mae yn rhesymol i dybied y rhoddai Efe gyfreithiau i ddynolryw, er eu rheoleiddio mewn peth mor bwysig—peth ag oedd â'i ganlyniadau yn dragywyddol. Meddyliwch, am un fynyd, am y cyfrifoldeb mawr a orphwys ar dad a mam plentyn bychan: y maent hwy wedi bod yn offerynau i roddi bodoliaeth i fôd ag oedd yn agored i dragywyddol ddedwyddwch neu dragywyddol drueni; ymddiriedwyd iddynt amddiffyniad ac addysg bôd ar lun a delw Duw, yr hwn, trwy hyfforddiad priodol, a all esgyn i fyny yn uchel mewn doethineb, a gwybodaeth, a gallu, a mawrhydi dwyfol, i ardaloedd anfarwoldeb a goleuni tragywyddol: ymddiriedwyd iddynt drysor sydd yn anfeidrol fwy ei werth nâ holl gyfoeth ac anrhydedd y byd hwn—trysor, yr hwn, trwy eu cam-driniaeth hwy, a all fod yn golledig, ac yn golledig dragywyddol—trysor, am yr hwn y byddant yn gyfrifol yn marn fawr y byw a'r meirw. O, mor fawr fydd gogoniant a dedwyddwch y dyn a'r ddynes hyny a fyddant wedi ufyddhau i'r gorchymyn mawr cyntaf hwnw i "amlhau," ac a fyddant wedi hyfforddi eu hunain a'u plant i fywyd ac anfarwoldeb! O'r ochr arall, y fath drueni ac adfyd a fydd i'r rhai hyny a fuont yn offerynau o gyssylltiadau anghyfreithlawn, plant bastarddaidd y rhai a fyddant yn felldith arosol, mewn amser ac yn nhragywyddoldeb, er dwyn tystiolaeth uchel o gymdeithasiad anrhinweddol eu rhieni euog! O, y fath gyfrifoldeb enbyd sydd yn gorphwys ar ddynolryw, o barthed i'r pwnc pwysig hwn!

O herwydd yr aneirif ganlyniadau pwysig sydd ynglyn â lliosogiad y rhywiogaethau dynol, y mae Duw wedi rheoleiddio yr unrhyw trwy y fath caethaf o gyfreithiau. Nid yw efe wedi caniatâu ymgyssylltiad diwahaniaeth rhwng y rhywiau, fel yn mhlith yr anifeiliaid mudion; eithr y mae efe wedi ordeinio Priodas, fel yr unig fodd cyfiawnhaol trwy yr hyn y gall y rhywiau yn gyfreithlawn "amlhau, a llanw y ddaear." Mae pob cyssylltiadau tu allan i'r cyfammod priodasol, yn anghyfreithlawn yn ngolwg Duw; a'r holl rai a fyddant yn euog o'r fath droseddau, a gospir yn llym am yr unrhyw. Mewn hen amser-

oedd, yr oedd personau a gyflawnent odineb, puteindra, a chyssylltiadau anrhinweddol, yn cael eu cospi â marwolaeth, yn ol cyfraith Duw, yr hon sydd yn darllen fel y canlyn:—

"O cheffir gwr yn gorwedd gyda gwraig briodol â gwr; byddant feirw ill dau, sef y gwr a orweddodd gyda'r wraig, a'r wraig hefyd: felly y tyni ymaith ddrwg o Israel. O bydd llances o forwyn wedi ei dyweddio i wr, a chael o wr hi mewn dinas, a gorwedd gyda hi; yna y dygwch hwynt ill dau i borth y ddinas hono, ac a'u llabyddiwch hwynt â meini, fel y byddont feirw: y llances, oblegid na waeddodd, a hithau yn y ddinas; a'r gwr, o herwydd iddo ddarostwng gwraig ei gymmydog: felly ti a dyni ymaith y drygioni o'th fysg. Ond os mewn maes y cafodd y gwr y llances wedi ei dyweddio, a'i threisio o'r gwr, a gorwedd gyda hi; yna bydded farw y gwr a orweddodd gyda hi yn unig." (Deuteronomium xxii, 22—25).

Gellir gweled yr atgasrwydd mawr a amlygai yr Arglwydd tuag at bob cyssylltiad anrhinweddol, oddiwrth a ganlyn:—

"O chymmer gwr wraig, ac wedi myned ati ei chasâu; a gosod yn ei herbyn anair, a rhoddi allan enw drwg iddi, a dywedyd, Y wraig hon a gymmerais; a phan aethum ati, ni chefais ynddi forwyndod." Ac "os gwir fydd y peth, ac na chafwyd arwyddion morwyndod yn y llances; yna y dygant y llances at ddrws tŷ ei thad, a dynion ei dinas a'i llabyddiant hi â meini, oni byddo farw; am iddi wneuthur ffolineb yn Israel, gan butteinio yn nhŷ ei thad: a thi a dyni y drwg o'th fysg." (Deuteronomium xxii, 13, 14, 20, 21).

Yr oedd yn rhyngu bodd yr Arglwydd fod y fath gymmeriadau drygionus yn cael eu gosod i farwolaeth. Cafodd Phinees, wŷr Aaron, ei fendithio yn fawr gan yr Arglwydd, am roddi i farwolaeth wr a gwraig ag oedd yn euog o gyssylltiadau anghyfreithlawn. Rhoddwn hanes y dygwyddiad hwn yn ngeiriau yr ysgrythyr:—

"Ac wele, gwr o feibion Israel a ddaeth, ac a ddygodd Midianees at ei frodyr, yn ngolwg Moses, ac yn ngolwg holl gynnulleifa meibion Israel, a hwynt yn wylo wrth ddrws pabell y cyfarfod. A gwelodd Phinees mab Eleazar, mab Aaron yr offeiriad; ac a gododd o ganol y gynnulleidfa, ac a gymmerodd waywffon yn ei law; ac a aeth ar ol y gwr o Israel i'r babell; ac a'u gwanodd hwynt ill dau. * * Ac attaliwyd y bla oddi wrth feibion Israel. A bu feirw o'r bla bedair mil ar hugain. A llefarodd yr Arglwydd wrth Moses, gan ddywedyd, Phinees, mab Eleazar, mab Aaron yr offeiriad, a drodd fy nigter oddiwrth feibion Israel, pan eiddigeddodd efe drosof fi yn eu mysg, fel na ddyfethais feibion Israel yn fy eiddigedd. Am hyny dywed, Wele

fi yn rhoddi iddo fy nghyfammod o heddwch. A bydd iddo ef, ac i'w had ar ei ol ef, ammod o offeiriadaeth dragywyddol; am iddo eiddigeddu dros ei Dduw, a gwneuthur cymmod dros feibion Israel." (Numeri xxv, 6—13).

Paham yr oedd yr Arglwydd mor anfoddlawn wrth y rhywiau, nes y cospai hwynt â marwolaeth am ymddygiad anrhinweddol? Oblegid ei fod wedi ordeinio priodas fel yr unig ffordd o liosogi yr hiliogaeth ddynol. Mae yr effeithiau echryslon a ganlynant gymdeithasiadau anrhinweddol, yn rhwydd iawn i'w canfod, hyd y nod pe na fyddai un gyfraith i Dduw yn erbyn y fath ddrygau. Yn gyntaf, y mae plant anghyfreithlawn yn cael eu dwyn i'r byd heb unrhyw amddiffynwr cyfreithlawn i edrych ar ol eu lles tymmorol. Yn ail, nid oes gan y plant hyn y manteision moesol ag a geid oddiwrth addysgiadau ac esiamplau rhieni cyfreithlawn, ac o ganlyniad, y maent mewn mwy o berygl o golli eu hiachawdwriaeth dragywyddol. Ac yn olaf, gwnai cyssylltiad diwahaniaeth rhwng y rhywiau dori i fyny bob cymdeithasiad teuluaidd, a dinystrio yr undeb a'r heddwch a fwynheir yn y cylch teuluaidd; ni wnai tadau adwaen plant eu hunain, ac ni allai plant, gyda hyder, ddweyd pwy oedd eu tad: byddai y fath drefn ar bethau yn druenus, a gwnai daraw ergyd marwol at sylfaen pob dedwyddwch teuluaidd. Gellid enwi llawer o ganlyniadau erchyll ereill, fel effeithiau penrhyddid, megys drwg-dybiaeth, diffyg ymddiried, clefydau ffiaidd yn cael eu trosglwyddo i hiliogaeth, y rhai ydynt oll yn ddrygau atgas i deimladau pob dyn da. I'r dyben yma y gwnaeth Duw gyfreithiau caeth o barthed i'r holl droseddau hyn. I'r dyben yma y mae efe yn cospi, â'r fath gospedigaethau trymion, y rhai hyny a droseddant y cyfreithiau cyssegredig hyn.

Yr oedd godinebwyr a phersonau anrhinweddol nid yn unig yn cael eu cospi yn dymmorol, eithr hefyd yn ysbrydol, ar ol y bywyd hwn. I'r perwyl hyny y dywed yr Arglwydd, "Ond i'r rhai ofnog, a'r digred, a'r ffiaidd, a'r llofruddion, a'r puteinwyr, a'r swyn-gyfareddwyr, a'r eilun-addolwyr, a'r holl gelwyddwyr, y bydd eu rhan yn y llyn sydd yn llosgi â thân a brwmstan; yr hyn yw yr ail farwolaeth,"—Dad. xxi, 8. Nid yw cospedigaeth trwy farwolaeth dymmorol yn ddigonol i foddloni gofynion cyfiawnder: rhaid iddynt ddyoddef cospedigaethau yr ail farwolaeth hefyd.

Mae yr un caethder yn erbyn pob ymddygiad anrhinweddol yn cael ei ddysgu yn Llyfr Mormon, fel y gwelir oddiwrth y dyfyniadau canlynol:—

"Ow! y doeth, a'r dysgedig, a'r cyfoethog, y rhai ydynt wedi ymchwyddo yn malchder eu calonau, a'r holl rai sydd yn pregethu gau-athrawiaethau, a'r holl rai sydd yn cyflawni godineb, ac yn gŵyrdroi ffordd uniawn yr Arglwydd; gwae, gwae, gwae iddynt hwy, medd yr Arglwydd Dduw Hollalluog, canys hwy a wthir i lawr i uffern."—2 Nephi, xii, 2.

Mae y prophwyd Alma, pan yn llefaru wrth ei fab ar yr un pwnc, yn dywedyd,—

"Ai ni wyddost ti, fy mab, fod y pethau hyn yn ffieidd-dra yn ngolwg yr Arglwydd; ïe, y ffieiddiaf o bob pechod, oddieithr tywalltiad gwaed gwirion, neu wadu yr Ysbryd Glân."—Alma, xix, 1.

Mewn man arall, mae yr Arglwydd yn dywedyd wrth gynbreswylwyr America, fel y canlyn:—

"Yr wyf fi, yr Arglwydd, yn ymhyfrydu mewn diweirdeb benywod. A phuteindra sydd ffiaidd ger fy mron i; felly y dywed Arglwydd y lluoedd. Am hyny, y bobl hyn a gant gadw fy ngorchymynion i, medd Arglwydd y lluoedd, neu ynte, melldigedig fydd y tir er eu mwyn hwynt. Canys os myfi, medd Arglwydd y lluoedd, a gyfodaf i mi had, mi a orchymynaf fy mhobl; onide, hwy a gant wrandaw ar y pethau hyn. Canys wele, myfi, yr Arglwydd, a welais dristwch, ac a glywais alar merched fy mhobl yn ngwlad Jerusalem, ïe, ac yn holl diroedd fy mhobl, o herwydd drygioni a ffieidd-dra eu gwyr. Ac ni ddyoddefaf fi, medd Arglwydd y lluoedd, i waedd merched prydweddol y bobl hyn, y rhai a arweiniais allan o wlad Jerusalem, ddyrchafu ataf fi yn erbyn meibion fy mhobl, medd Arglwydd y lluoedd; canys ni chant hwy gaethgludo merched fy mhobl, o herwydd eu tynerwch, oddieithr i mi ymweled â hwynt â melldith dost, hyd at ddinystrio; canys ni chant buteinio, yn gyffelyb iddynt hwy gynt, medd Arglwydd y lluoedd."—Llyfr Jacob ii, 6.

Pan ymddangosodd yr Iesu i'r hen Nephiaid, yn y gogleddbarth o'r hyn a alwn yn America Ddeheuol, efe a'u dysgodd hwynt ynghylch godineb, yn y geiriau hyn:—

"Wele, y mae yn ysgrifenedig gan y rhai gynt, Na wna odineb; eithr yr wyf fi yn dywedyd wrthych chwi, fod yr hwn sydd yn edrych ar wraig, i'w chwennych, wedi gwneuthur eisoes odineb â hi yn ei galon. Wele, yr wyf yn rhoddi gorchymyn i chwi, na oddefoch ddim o'r pethau hyn i fyned i mewn i'ch calon; canys y mae yn well i chwi ymwadu â'r pethau hyn, yn yr hyn y bydd-

wch yn cymmeryd i fyny eich croes, nag i chwi gael eich bwrw i uffern."—Llyfr Nephi, tud. 394.

Mae yr un athrawiaeth yn cael ei dysgu yn y dadguddiadau a'r gorchymynion, a roddwyd trwy Joseph, y Gweledydd, i'r eglwys hon. Yn Chwefror, 1831, yr Arglwydd a lefarodd fel hyn:—

"Tydi a geri dy wraig â'th holl galon, ac a lyni wrthi hi a neb arall; a'r hwn a edrycho ar wraig i'w chwennych hi, a wada y ffydd, ac ni chaiff yr Ysbryd, ac onid edifarha, efe a deflir allan. Na wna odineb; a'r hwn a wna odineb, ac ni edifarha, a deflir allan; ond yr hwn a wnaeth odineb, ac a edifarha â'i holl galon, ac a'i gadawa, ac ni wna felly mwyach, tydi a faddeui iddo; ond os gwna efe odineb drachefn, ni chaiff faddeuant, eithr a deflir allan."—Ath. a Chyf., dos. xiii, gwa. 7.

"Ac os bydd i ryw ddyn neu wraig gyflawni godineb, efe neu hi a gaiff ei brofi gerbron dau neu ragor o henuriaid yr eglwys, a rhaid sefydlu pob gair yn ei erbyn ef neu hi trwy ddau o dystion o'r eglwys, ac nid o'r gelynion; a goreu oll, os bydd ychwaneg nâ dau o dystion. Ond efe neu hi a gondemnir trwy enau dau o dystion, a'r henuriaid a osodant yr achos gerbron yr eglwys, a'r eglwys a godant i fyny eu dwylaw yn ei erbyn ef neu hi, fel yr ymddyger atynt yn ol cyfraith Duw. Ac os dichonadwy, y mae yn anghenrheidiol fod yr esgob yn bresennol hefyd. Ac fel hyn y gwnewch yn mhob achosion a ddygir ger eich bron chwi."—Dos. xiii, gwa. 22.

Mae y Saint yn cael eu gwahardd trwy Ddadguddiad, i dderbyn rhyw bersonau i'r eglwys. Dywed yr Arglwydd—

"Wele, yn wir, meddaf i chwi, pwy bynag yn eich plith chwi a osodant ymaith eu cydymmeithion o herwydd godineb, neu mewn geiriau ereill, os tystiant ger eich bron chwi mewn pob gostyngeiddrwydd calon mai felly y mae yr achos, ni chewch eu taflu hwynt allan o'ch plith chwi; ond os cewch fod rhyw bersonau wedi gadael eu cydymmeithion o herwydd godineb, ac mai hwy eu hunain yw y troseddwyr, a bod eu cydymmeithion yn fyw, bydded iddynt gael eu taflu allan o'ch plith chwi. A thrachefn, meddaf i chwi, byddwch wyliadwrus a gofalus, gyda phob ymchwiliad, na fyddo i chwi dderbyn neb o'r cyfryw i'ch plith, os byddant wedi priodi; ac os na fyddant wedi priodi, rhaid iddynt edifarhau am eu holl bechodau, onide na dderbyniwch hwynt."—Dos. xiii, gwa. 20.

A thrachefn, gair yr Arglwydd a ddaeth at Joseph, y Gweledydd, yn Awst, 1831, gan ddywedyd:—

"Yr oedd yn eich plith chwi odinebwyr a godineb-wragedd; rhai o honynt a droisant ymaith oddiwrthych, ac ereill a arosant gyda chwi, y rhai a ddadguddir yn ol llaw. Bydded i'r cyfryw

ochelyd ac edifarhau yn fuan, rhag i farnau ddyfod arnynt megys magl, ac i'w ffolineb gael ei wneyd yn eglur, a'u gweithredoedd a'u canlynant hwy yn ngolwg y bobl. Ac yn wir, meddaf i chwi, megys y dywedais o'r blaen, yr hwn sydd yn edrych ar wraig i'w chwennychu hi, neu os bydd i neb gyflawni godineb yn eu calonau, ni chant yr Ysbryd, ond gwadant y ffydd a dychrynant; gan hyny, myfi, yr Arglwydd, a ddywedais y bydd i'r ofnog, a'r anghredinwyr, a'r holl gelwyddwyr, a phwy bynag a hoffant ac a wnant anwiredd, a'r puteiniwr, a'r hudolwr, gael eu rhan yn y llyn sydd yn llosgi â than a brwmstan, yr hyn yw yr ail farwolaeth. Yn wir meddaf, ni chant hwy ran yn yr adgyfodiad cyntaf. Ac yn awr, wele, myfi, yr Arglwydd, wyf yn dywedyd wrthych, nid ydych i'ch cyfiawnhau am fod y pethau hyn yn eich plith chwi; er hyny, yr hwn sydd yn parhau mewn ffydd ac yn gwneuthur fy ewyllys i, hwnw a orchfyga, ac a dderbynia etifeddiaeth ar y ddaear pan ddaw dydd y gweddnewidiad."
—Dos. xx, gwa. 4, 5, 6.

*(I'w barhau.)*

---

## CYNGHOR A CHYMMANFA GYFFREDINOL NEILLDUOL YN NGHYMRU,

*A gynnaliwyd yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr, ar y 12fed, y 13eg, a'r 14eg o Fawrth, 1853.*

[Parhad o dud. 195]

### DYDD LLUN.

*Deg o'r gloch yn y boreu.*—Agorwyd y Cynghor trwy ganu, "Hyfryd cwrdd un waith yn rhagor," a thrwy weddio gan yr Henuriad John Davis.

Cymmerwyd llywyddiaeth y cyfarfod gan yr Henuriad Daniel Spencer, megys ag y penderfynwyd boreu dydd Sadwrn.

Yna dilynwyd yr arholiad yn mlaen o'r lle y gadawyd ef nos Sadwrn, a chytunwyd yn unfrydol i gyflwyno yr oll i sylw y Llywyddiaeth o Liverpool, er ei benderfynu.

Yr Henuriad Daniel Spencer—Nid wyf fi yn myned i benderfynu y materion, ond yn unig gwneyd ychydig o sylwadau rhag-arweiniol. Mae yn rhaid i rywrai aberthu teimladau, cyn y gellir cael heddwch a bendith Duw ar yr oll; canys mae yn anmhosibl cael heddwch lle bo anghydfod, heb fod rhai yn aberthu eu teimladau. Yr wyf yn cofio am swyddwyr uchel yn yr eglwys hon yn amryson â'u gilydd, ac yn edifarhau drachefn

a chymmodi â'u gilydd, a phenderfynu gadael pob peth drwg ŷ ddarfod, pan yr oedd bai o bob ochr. Frodyr, fe ymddengys eich bod chwi wedi cael cam, ac fe ymddengys fod llawer o feiau ynoch chwi eich hunain hefyd. Beth a wnewch, ynte? Ai peidio maddeu, a gweithredu yn ol ein teimladau a'u hewyllys ein hunain? Dyna fel y gwna y byd, a dyna fel yr ymranant yn barhaus. Ond y mae ardderchogrwydd trefn teyrnas Dduw i'w weled yn rhagori ar bob trefn o eiddo dynion, trwy ei bod yn gofyn i ddyn ddangos cymmaint o gariad tuag ati, ag y gall ddyoddef am ychydig, er ei fod yn cael cam; ac ar ol i'r dyn hwnw aros am ychydig, dacw fe yn cael ei wobrwyo ar ei ganfed, hyd nes y mae ei galon yn llawenhau; ac y mae'r dedwyddwch a fydd ef yn fwynhau yn gyru y meddwl am yr holl groesau a'r dyoddefiadau a gafodd i fôr anghof. Beth a wnewch chwi yn yr amgylchiad hwn, ynte? Ni ellwch wneuthur dim yn iawn eich hunain: y peth goreu a ellwch wneyd yw ymostwng i benderfyniad y Llywydd S. W. Richards. Beth fyddai y canlyniad i chwi wrthod ei benderfyniad ef? Byddech yn tori eich hunain allan o eglwys Dduw yn union. Beth fyddai eich sefyllfa wedy'n? Byddech wedi dyoddef peth yn yr eglwys hon, ac wedi methu dal yn hwy; felly ni chyfrifid chwi yn deilwng o'r gogoniant nefol. Gofynaf i chwi, A ydych chwi yn dyoddef newyn, neu roddi eich bywyd yn aberth? Mae rhai wedi gwneuthur hyny cyn hyn. Yr ydych trwy ddyoddef yn debyg i'r ffermwr, yr hwn oedd wedi myned i drafferth a cholled mawr i hau ychydig yma ac ychydig acw; yr ydych chwithau, efallai, wedi rhoddi peth arian yma, a pheth acw. Paham y mae'r ffermwr yn myned i'r fath gost a thrafferth? Fel y caffo fedu a llanw ei ysgubor â gwenith newydd, ac yn y pen draw gwneuthur ei hun yn gyfoethog; byddwch chwithau hefyd yn gyfoethog, os dyoddefwch; canys gwobrwyir chwi ar eich canfed, medd Duw. Dywed yr Apostol Paul ei fod yn diolch am gael ei gyfrif yn deilwng i ddyoddef. Beth ped elech â'ch achosion i'r nefoedd? Byddai yn rhaid i chwi foddloni i benderfyniad Duw. Yr ydych wedi eich gosod yn yr ysgol ganddo ef yn awr, fel y caffo brawf o honoch, a gweled os ydych yn deilwng o gael eich gwneyd yn freninoedd ac yn offeiriaid yn ei deyrnas. Efe a brofodd Israel yn yr anialwch; a thrwy iddynt hwy wrthryfela yn erbyn Moses ac Aaron, ni chyfrifodd Ef hwynt yn deilwng o gael cadw offeiriadaeth

Melchisedec. Mae Ef wedi eich profi chwithau mewn un prawf, ie, meddaf mewn un prawf bychan, sef trwy ganiatâu i'ch arian gael eu cam-ddefnyddio: nid yw hyny yn lawer o brawf at yr hyn a gewch, os achubir chwi. Ymostyngwch i benderfyniad yr offeiriadaeth, ac felly ni ddaw niwed i chwi. Yr ydych chwi yn dysgu eich plant, o herwydd y gwyddoch yn well nâ hwy. Meddyliwch pe dywedech wrthynt am beidio gosod eu dwylaw yn y tân: pa fodd y gallant beidio cael eu llosgi, os na wrandawant arnoch chwi? Ond pan losgant rywbryd, y maent yn cael ychydig o ysgol, ac ni wnant y fath beth wedy'n, a chydnabyddant mai chwi a wyddai oreu. Frodyr, ufyddhewch i benderfyniad eich Llywydd, ac aberthwch eich teimladau celyd; ac yna chwi a gewch undeb a chariad, a dylanwadau hyfryd yr Ysbryd Glân, hyd nes y llawenhewch ac y byddwch yn benderfynol o ymlyni wrthi trwy y cwbl.

Yr Henuriad Levi Richards—Mi a ddywedaf ychydig mewn cyssylltiad â'r amgylchiad presennol, a pha beth sydd oreu i ni wneyd. Cyn pen nemawr amser gelwir chwi i lanw cylchoedd llawer mwy anrhydeddus nâ'r cylchoedd a leinw eich llywyddion yn bresennol. A ydych chwi yn barod i lanw y rhai hyny yn awr, neu a allwch chwi lanw cylchoedd eich llywyddion yn well nâ hwy eu hunain yn awr? Os nad ydych yn barod at hyny, ymbarotowch, a chesglwch ddigon o Ysbryd a gallu Duw am danoch erbyn y caffoch lanw cylchoedd uwch. Gwn fod eich llywyddion presennol chwi yn ddynion Duw, ac y gwnant eich llywyddu yn iawn. Pa fodd y gweithredwn yn yr amgylchiad presennol? Yr ydym yn debyg i ddau gi ag oedd yn croesi afon ddofn a ffrydwyllt ar bren cul, a'r naill yn dyfod yn erbyn y llall, gan gyfarfod â'u gilydd yn y canol. Beth ped elent i ysgyrnygu dannedd ar eu gilydd, a chwyrnu, a phob un mor benderfynol â'r llall i beidio ymostwng? Byddai yn rhaid i un, os nid y ddau, gwympo i'r afon, a chael eu dwyn ymaith gyda'r ffrwd. Beth oedd yn oreu wneuthur, ynte? Yr oedd yn rhaid i un orwedd i lawr, ac i'r llall fyned drosto; ac felly y gwnaethant, gan fyned bob un i'w ffordd ei hun yn llawen ac heddychlawn, heb wlychu gymmaint â'u traed. Bydded i ninnau deimlo i faddeu gwendidau y naill y llall, gan fod gwendidau yn mhawb o honom; a bydded i ni ufyddhau a boddloni i benderfyniad ein Llywydd S. W. Richards; a pha beth bynag a ddywedo efe, dywedwn mai

oddiwrth yr Arglwydd y mae, a bloeddiwn amen, ac yn mlaen a ni. [Pawb yn cyd-waeddi "Amen."]

Yr Henuriad Orson Spencer—Yr wyf yn deall wrth wynebau y dynion sydd yma o'm blaen, eu bod yn lu o ddynion deallgar yn dal yr Offeiriadaeth santaidd. Yr ydych yn bobl dda, a'ch cymharu â'r rhai sydd oddi allan i'r eglwys, a llai o bechodau ynoch nag sydd ynddynt hwy. Mae yn rhaid i'n gwendidau, a'n pechodau, a'n beiau gael eu hamlygu cyn y gwneir ni yn bur. Pan ewch i Seion, cewch eich dysgu, eich hyfforddi, a'ch trin hyd nes y deuwch yn bur. Ni all y byd ddyoddef gael eu beiau wedi eu dweyd wrthynt, o herwydd fod hyny mor groes i'w teimladau uchel a balch, ac felly maent yn methu dyfod yn un. Rhaid i ni aberthu teimladau, os deuwch yn un; a'r hwn ni ddaw yn un, sydd yn tori ei hun allan, a thaflu ei hun ymaith fel cangen gryn i gael ei sathru. Mae yn rhaid i ni ddyoddef caledi a thrafferth er mwyn teyrnas Dduw. A ydych chwi yn caru eich bwyd, eich dillad, neu foddloni eich teimlad, yn fwy nâ'r Ysbryd Glân a dderbyniasoch? Byddai yn well i ni aberthu bwyd, arian, dillad, teimladau, a phob peth arall sydd genym, nâ cholli yr Ysbryd Glân. Ni allwn fod yn golledwyr o herwydd cam-ymddygiad ereill, os na chollwn yr Ysbryd hwn. Gallai dyn deimlo yn llawen, os bydd yr ysbryd hwn ganddo, er ei fod yn y cyffion, neu gael ei freichiau wedi eu hysgaru oddiwrth ei gorff, neu gael dyoddef marwolaeth er mwyn Crist a'i achos. Ond o'r ochr arall, os dyoddefa dyn, ac os gosoda efe ei hun mewn sefyllfa wrthryfelgar, efe a â i uffern. Yr oedd pethau yn argoeli i mi ar y cyntaf y buasai rhyw ymraniad yn cymmeryd lle yma, ond mi a brophwydaf wrthych yn awr, y blodeua Saint Cymru fel y rhosyn etto, ac y bydd i'w dewr feibion gyhoeddi iachawdwriaeth trwy ei dyffrynoedd; a'u llafur a goronir â llwyddiant, a bydd fluoedd yn bendithio enw Duw Israel, am y fraint o ddyfod i'r goleuni, a byddant yn edrych arnoch chwi fel rhai bendigedig yr Arglwydd, ag sydd wedi dyfod â newyddion da o lawenydd mawr i feibion a merched Gwalia. Yr Arglwydd a frysio yr amser dedwydd i ddyfod i ben, yw'm dymuniad ar eich rhan. Amen.

Y Llywydd S. W. Richards—Yr wyf yn cyfodi o'ch blaen, frodyr, dan grynu, wrth feddwl am bwysfawrogrwydd y cyfrifoldeb a orphwys arnaf yn bresennol; o herwydd yr wyf yn teimlo

fod fy mrodyr yn aros i glywed fy mhenderfyniad, gan feddwl efallai y bydd yn penderfynu tynghed rhyw un, neu ryw rai sydd yn fy nghlywed. Gofynaf, a ydych chwi yn credu y bydd fy ngeiriau yn fywyd i chwi, ac yn ddiwedd i'r amryson sydd yn bodoli? A ydyw y ffydd hono yn eich meddiant ag a'ch arweinia i weddio ar Dduw i'm bendithio i ddweyd wrthych pa beth sydd yn iawn? Os ydych yn credu na ddywedaf ddim ond yr hyn a fydd yn unol â'ch teimladau, dichon y siomir chwi; ond os credwch y dywedaf yn iawn, pa un a groesaf eich teimladau neu beidio, chwi a gewch Ysbryd Duw, ac a gewch foddlonrwydd; eithr os credwch fel arall, efallai y derbyniwch rywbeth nad ydych yn erfyn am dano. Dymunaf eich ffydd a'ch gweddiau, fel y gallwyf iawn bwyso yr hyn a ddywedwyd. Ond, a ydych chwi yn teimlo y barnaf yn iawn; dyna y prif beth: os cawn wybod hyn, cawn wybod pa un a ellir cael undeb neu beidio, a'ch bod yn foddlawn gadael y cyfan i ddarfod ar ol heddyw. Os ydych yn foddlawn, arwyddwch. [Pob llaw i fyny.] Yr 'wyf yn teimlo yn ddiolchgar am hyn, frodyr. Yn awr, yr wyf wedi gwrandaw arnoch chwi yn hysbysu eich teimladau a'ch achwyniadau yn erbyn y Llywyddiaeth am ddau ddiwrnod, ac y mae llawer o honoch ag sydd wedi llefaru yn haeddu peth cerydd; etto, gwn nad oedd un tuedd ynoch i dynu teyrnas Dduw i lawr. Yr wyf yn gwybod i'ch teimladau gael eu dolurio, a'ch bod yn dysgwyl cael cyfiawnder pan ddeuai yr Henuriad D. Jones yn ol. Gofynwyd i mi os wyf yn cymmeradwyo yr hyn oll a wnaed yma yn Nghymru yn yr amser sydd wedi myned heibio. Na, nid wyf yn cymmeradwyo y cyfan. Mae y Llywydd Phillips wedi dyoddef gormod gyda eich diweddar lywydd Thomas Pugh, ac ereill mewn cyssylltiad ag ef; ac yn y cyfamser yr oedd wedi esgeuluso edrych digon er adnabod ysbryd y Saint, a gwrthwynebu anghyfiawnder; ac y mae ef wedi cael teimlo hyny yn awr, a diau y gofala yn well o hyn allan. Dyna oedd yn achosi y rhan fwyaf o'r teimladau yn ei erbyn. Ni ddylasai y brawd Phillips oddef i Pugh yn ei bresennoldeb ddrwg-liwio yr Henuriad Dan Jones, trwy siarad yn fychanus am dano; canys mi wn fod cymmeriad da i'r brawd Jones yn y Dyffryn, ac nad oedd sail i'r pethau ag oedd yn cael eu taenu am dano. Nid ymddengys fod y teimladau, efallai, gymmaint yn erbyn yr Henuriad J. Davis; ond y mae yntau i'w feio am adael Pugh a'i

frodyr i gael cymmaint o'u ffordd, a hyny yn groes i'w deimladau. Mae yn ddyledswydd ar y Llywydd Phillips ac yntau i gydnabod hyny. A yw yr Henuriad D. Jones, ynte, yn ddifai? Mae efe yn ddyn da, ac wedi dyfod yn ddiweddar o Seion i wneuthur daioni yma. Pan gyrhaeddodd yma, yr oedd rhai yn meddwl ei fod yn dyfod i lywyddu, a thrwy hyny yr oeddynt yn ymgasglu oddiamgylch iddo, gan ddweyd eu hachwynion, a meddwl mai efe oedd y dyn i'w hiachâu: a chyd-ymdeimlodd yntau â hwynt, yn ei awydd i'w llesoli, pan o'r ochr arall, pe buaswn i yma, efallai y teimlaswn i'w gyru oddiwrthyf. Nid i fod yn llywydd y danfonwyd y brawd Jones, eithr i fod yn gynghorwr i'r Llywydd, ac yn lywydd ar y gynnadledd hon. Yr oeddech chwi, frodyr, yn feius am eich bod yn meddwl fod y brawd Jones yn dyfod i fod yn llywydd arnoch; canys yr oedd yma lywydd yn barod, yr hwn a feddai fwy o allu i'ch iachâu nag a fedda y brawd Jones. Pan gyrhaeddasom ni yma nos Wener, cefais allan nad oedd eich Llywyddiaeth mewn teimladau da tuag eu gilydd; ac yr wyf wedi cael teimladau felly ynoch chwithau, yr hyn ni allai lai nâ bod. Gallwn ddangos i chwi lawer o'ch ffaeleddau a'ch colliadau, pe caniatâai amser. Gallasai pethau fod wedi eu huniawni heb i ni ddyfod yma, pe buasai eich Llywyddiaeth mewn undeb. Gyda golwg ar yr arian a achwynid fod y Llywydd Phillips wedi eu cam-ddefnyddio, chwi welsoch i hyny gael ei brofi yn hollol i'r gwrthwyneb. Yr oedd bai ar y Llywyddiaeth yma na fuasent yn derbyn y brawd Jones mewn gwell ysbryd, fel y teimlai i fod yn fwy unol â hwynt; canys y mae efe yn ddyn Duw, ac wedi derbyn ei gynnysgaethiad, ac yn meddu gallu Duw, a'r angylion yn ei wylio, fel hefyd y mae'r brodyr Jeremy a Daniels. Yn awr, dysgwyliaf i'r brodyr Phillips, Davis, a Jones, i hysbysu eu teimladau, a pha fodd y maent yn teimlo i gofleidio eu gilydd, ac i fod mewn undeb. Pan ddaw y Lywyddiaeth hon i undeb, fe ddaw y bobl hefyd. Nid ar unwaith y daeth y teimladau celyd hyn i'ch mysg, eithr y maent wedi dechreu, fel yr wyf yn deall, er ys dwy flynedd neu ragor, ac y mae yn ddrwg genyf am yr amser y daethant gyntaf; ac yn awr, frodyr, deuwch i deimladau da, ac undeb, a chyfrifwch y cyfan megys wedi myned heibio, canys ni ellir ei alw yn ol. Am hyny gweithredwch yn well o hyn allan; ac os gwnaethoch niwed i rywun, gofynwch ei faddeuant.

Yna y Llywyddiaeth Gymreig a dystiasant eu penderfyniad diysgog i gyd-ymdrechu mewn undeb a chariad i lesoli y Saint, drwy gyflawniad o'u dyledswyddau yn fwy nag erioed.

Yna y Llywydd Richards a ychwanegodd fel y canlyn—**Na** fydded i un o'r Saint gellwair â'r egwyddor o "Briodas Nefolaidd;" pe syrthiai un o honoch i'r trosedd o odineb, yn enwedig ar ol cael maddeuant am hyny o'r blaen, galloch dynu ystaen arnoch eich hunain na ellid ei thynu ymaith byth! Yr wyf yn eich caru yn fawr, ac mi a weddiaf yn daer drosoch. Dymunwn i chwi fyned yn mlaen o hyn allan â bendith yr Arglwydd ar eich penau. Hyn yw fy ngweddi ar eich rhan chwi oll, yn enw Iesu Grist. Amen.

Yr Henuriad Levi Richards—Yr wyf wedi cael fy moddhau yn y mesurau a gymmerodd y Llywydd S. W. Richards i'ch boddloni; ac yr wyf yn dymuno i Dduw dywallt bendithion aneirif ar ben cenedl y Cymry, yn enw Iesu Grist. Amen. [Y gynnulleidfa yn cyd-waeddi "Amen."]

Terfynwyd trwy weddi gan y Llywydd S. W. Richards.

RICHARD MORRIS,<br>WILLIAM LEWIS, } *Ysgrifenwyr.*

---

## SECTARIAETH YN Y FAGL.

[Parhad o dud, 212.]

MAE yma le difyr, on'd oes, foneddigion?
Awn etto i 'stafell tu hwnt i'r coluddion;
Ac wrth fyned heibio, cewch weled draw oror
Y maes gwerthfawr hwnw lle cafwyd y trysor.

BYRDWN.

Wrth weled peth fel hyn, pwy all feio y Mormon
Am chwerthin ha, ha, ha! am ben y Parchedigion?

Mor werthfawr yr olwg, mae yma rai perlau
Yn mol y parchedig, beth ddywed y Seintiau?
Rhy faith ydyw enwi, mae'n destun rhyfeddod,
I feddwl fod Cristion yn meddu'r fath geudod!!
Wrth weled peth fel hyn, &c.

O syndod y byd, rhyw olwg ryfeddol,
Fod gan y parchedig fath geudod aruthrol,
A hwnw yn orlawn o bob peth fodola;
Pa ryfedd fod gofal gan hwn am ei fola.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Ynddo mae trafod y blawd yn beceidiau,
Ynddo mae digon o wenith ac effau,
Ynddo mae meistri a gweision yn lluoedd,
Ynddo mae planu a rhentu gwinllanoedd.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Ynddo mae cynnal rhai ffeiriau cyflogi,
Ynddo mae gwleddoedd a dyddiau priodi,
Ynddo mae dynion yn gwa'dd i neithiorau;
A thyna'r gwahoddwyr chwi welwch yw'r Seintiau.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Ynddo mae prynu a gwerthu rhai tiroedd,
Ynddo mae dynion yn rhanu eu daoedd;
Ynddo mae hefyd goed ffigys yn tyfu,
Ond nid oes fawr rhinwedd i ffigys gynnyrchu.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Ynddo mae'r bugail trwy ddrysni y tewfrig,
Yn chwilio yn ddyfal y ddafad golledig;
Ac wedi ei dwyn adref mae pawb yn sirioli,
A'r bugail a chanddo gant cyflawn yn pori.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Os trowch i'r llaw aswy cewch wel'd adeiladwyr,
A rhai'n â'u holl egni yn gweithio yn brysur;
Mae'n rhaid i fod yma le da i sylfaenu,
Oblegid mae ceudod yn gadarn, rhaid credu.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Tua milltir a hanner is dosparth y ddwyfron,
Cewch weled rhyw adyn o fachgen afradlon,
Ar feusydd pellenig y bola aruthrol,
Yn mhlith y puteiniaid yn gwastraffu ei waddol.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Mae'r bola yn cynnwys rhyw foroedd anferthol,
A llu o farsiandwyr yn morio yn wrol,
I gasglu trysorau o wledydd pellenig;
On'd oes gan bregethwr rhyw fola mileinig?
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Yn awr, foneddigion, rhowch glust o wrandawiad,
O'r holl ryfeddodau cewch genyf esboniad;
Chwi welwch yn fuan, mae gair i chwi'n ddigon,
Taw'r bola yw delw yr holl Barchedigion.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Bu Pedr yr apostol yn rhoddi darluniad,
Mai bola gorddïog yw helynt y farchnad;
Pa ryfedd, gan fod y fath draffic â hyna,
I'w gael bob mynydyn yn nghelloedd y bola.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Pa ryfedd yw gweled hwksteriaid ysbrydol,
Am ladd yr holl Seintiau a thwyllo y bobol;
Ar fasgnach y bola daw blinder a gofwy;
Y mae gan bregethwr rhyw fola ofnadwy.
Wrth weled peth fel hyn, &c.

Gan gymmaint y rhagrith er denu dynolion,
A chaffael y brasder a'r holl basgedigion,
Bu Paul yr apostol pan welodd eu traha
Yn gwaeddi yn uchel "eu duw yw eu bola!
Wrth weled peth fel hyn, pwy all feio y Mormon
Am chwerthin ha, ha, ha! am ben y Parchedigion?

DEWI ELFED.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

FE ddylem gofio bob amser fod addewidion yr Arglwydd yn cael eu rhoddi ar ammodau; ac os na fydd yr ammodau yn cael eu crybwyll, y maent yn gynnwysedig ac i'w deall.

RHAI a fynant i ereill dybied yn fawr am danynt, er nad ydynt ond offerynau; yn debyg i'r dyn ffol hwnw a ddychymygai ei fod yn chwarae ar yr organ, pryd nad oedd ond chwythu y fegin i roddi gwynt iddi.

Mae gwagedd y bywyd dynol fel afon, yn rhedeg heibio yn wastadol, ond etto yn dyfod yn mlaen yn barhaus.

Myfyriwch bob boreu ar ansicrwydd yr amser i ddyfod; a phob nos adchwiliwch weithrediadau y dydd a aeth heibio.

Llonyddwch a heddwch a flodeuant lle y mae rheswm ac uniondeb yn llywodraethu; a gwir lawenydd a deyrnasa lle y mae gwylder yn gyfarwyddyd.

Y dyn da sydd yn ddedwydd mewn bywyd ac yn angeu: ond nid yw y drygionus yn ddedwydd yn un o honynt.

---

DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU A'R CANGENAU, AM Y CHWARTER YN TERFYNU MAWRTH 31, 1853.

*Cynnadleddau*—Sir Fynwy, £18 16s 1¾c; Sir Frycheiniog, £3 9s 3¼c; Llanelli, £12 5s 3¼; Sir Aberteifi, £10 3s 7½; Gogledd Penfro, £2 11s 9¾c; Gorllewin Morganwg, £61 12s 5¼c; Meirionydd, £2 17s 11½c; Sir Fflint, £11 0s 10c; Môn, £9 11s 8c; Dyffryn Conwy, £1 13s 7¼c; Sir Ddinbych, £12 13s 2¾c; Caerfyrddin, £5 5s 3¼c; Deau Penfro, 13s 6c. *Cangenau*—Dinas, 2s 9c; Llanilltyd, 1s 11c; Pontypridd, £2 1s 8c; Cwmbach, £3 8s 0½c; Pendeulwyn, 13s; Twynyrodyn, 1s 11c; Llandaf, 19s 7c; Eglwysnewydd, 9s 9c, Pontfaen, 17s 5c; Caerdyf, £7 3s 10c; Aberdar, £12 1s 4½c; Aberamman, £5 5s 6½c; Dowlais, £6 7s 9½c; Hirwaen, £1 10s 9c; Cwmnedd, £1 14s 8c; Rymni, £2 16s 10½c; Georgetown, £1 19s 11c; Merthyr, £6 18s 8¼c; Pendaren, £5 10s 4c; Cefn, £4 2s 2c; Ynysgou, £3 13s 6½c; Gwernllwyn, £1 17s 7½c; Ffynnon-Tydfil, £4 2s 10½c; Troedyrhiw, 14s 4½c; Rymni (Saes.), 12s 11c; Gellifaelog, £2 2s 2c; Aberdar (Saes.), £1 13s 5c; Cap Coch, 9s 7c; Llanfabon, £1 0s 10½c. Cangen Gymreig Liverpool, £1 11s 0½c; D. J., £6 9s 6c.—Cyfanswm, £241 10s 6¼c.

Taliadau o Mawrth 25 hyd Mawrth 31.—Sir Fflint, £2 5s; Llanilltyd, 13s 6c; Pontypridd, £1 2s 9c; Cwmbach, 15s 1½c; Twynyrodyn, 13s; Llandaf, 3s; Cwmnedd, 6s 6c; Georgetown, 11s 4c; Merthyr, 16s; Cefn, 9s 6c; Gwernllwyn, £2; Troedyrhiw, 8s; Cap Coch, £2.—Cyfanswm, £12 3s 8½c.

Rhybydd.—Cafodd yr Henuriaid David S. Jones ac Evan A. Williams, henuriaid teithiol yn ddiweddar yn Nghynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, y rhai ydynt yn awr ar eu ffordd i Seion, eu tori allan am ddysgu cyfeiliornadau ac ymddwyn yn anghristionogol tra yn y wlad hon.

"D. W."—Achwynwch wrth y brawd ei hun yn gyntaf.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 15.] EBRILL 9, 1853. [CYF. V.


## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 219.]

YN yr holl ddyfyniadau blaenorol o ddadguddiadau hen a diweddar, gall pob un weled y canlyniadau erchyll sydd yn cyfodi oddiwrth yr ymwneyd lleiaf â'r chwantau pechadurus hyn. Y personau hyny a oddefant i feddyliau anrhinweddol ddyfod i mewn i'w calonau, ac a'u mynwesant yno am fynyd, a gânt eu hunain dan gondemniad; y maent wedi tori cyfraith Duw; maent wedi ymhalogi trwy eu meddyliau drygionus, ac oni edifarhant, gwna yr Ysbryd ymadael oddiwrthynt; canys nid yw yr Ysbryd Glân yn trigo mewn temlau halogedig—a hwy a adewir mewn tywyllwch, a'u ffydd a ymfarweiddia, a llenwir hwythau ag ofn, ac yn y diwedd teflir hwy i lawr i uffern.

Mae Saint y Dyddiau Diweddaf dan fwy o rwymau nag unrhyw bobl arall ar yr holl ddaear, i gadw eu hunain yn bur a rhinweddol gerbron yr Arglwydd—i ymgadw rhag godineb, puteindra, penrhyddid, pob cyssylltiad anghyfreithlawn, pob aflendid, pob chwantau cnawdol, pob dymuniad anrhinweddol ac halogedig, a rhag pob meddyliau cnawdol a serchiadau anianol; canys yr ydym wedi cael ein rhybyddio yn ffyddlawn, drachefn a thrachefn, trwy lais y Prophwyd a'r Dadguddiwr mawr hwnw, Joseph Smith; yr ydym wedi cael ein rhybyddio trwy lais ysbrydoliad—trwy lais angylion—trwy lais hen brophwydi America, gan lefaru megys pe byddai oddiwrth y meirw, trwy gyfrwng eu hen gof-lyfrau—yr ydym wedi cael ein rhybyddio trwy lais Duw,

yn ein bwgwth â dinystr, ac â thrueni yr ail farwolaeth, os na fydd i ni ymgadw yn hollol rydd a phur oddiwrth yr holl chwantau pechadurus ac enaid-ddinystriol hyn. Os gwrthodwn rybyddion mor fawrion, a phechu yn erbyn goleuni mor fawr, pa fodd y gallwn gael maddeuant, neu ddianc rhag damnedigaeth uffern? Mae yr Arglwydd ein Duw yn Dduw santaidd a chyfiawn—yn ffyddlawn a chywir yn ei holl eiriau, ac ni wna mewn un modd ŵyro oddiwrth yr hyn a ddywedodd; canys barn a â o flaen ei wyneb, a chyfiawnder ac uniondeb yw trigfa ei orseddfainc! O chwi Saint yn y dyddiau diweddaf, a ydych chwi yn ymwybodol o'r cyfrifoldeb mawr, tra phwysig, a thragywyddol ag sydd yn gorphwys arnoch, i wylio drosoch eich hunain, eich plant, a phawb sydd wedi eu rhoi dan eich gofal? A ydych chwi yn ymwybodol y bydd eich condemniad a'ch cospedigaeth mewn cyferbyniad i'r goleuni a'r wybodaeth y pechwch yn eu herbyn? Os ydych yn cwbl ddeall a gwerthfawrogi y rhybyddion a dderbyniasoch, dedwydd ydych, os ydych yn talu sylw ac yn ufyddhau i lais yr Arglwydd eich Duw, canys mawr fydd eich gwobr, a thragywyddol fydd eich gogoniant. Eithr os bydd neb yn eich plith yn caledi eu calonau, ac yn ymollwng i chwantau drygionus eu cnawd, a goddef i'w hunain ymhalogi trwy fynwesu yn eu meddwl feddyliau anrhinweddol a chwantau ansantaidd, hwy a ymwelir ar fyrder â barnedigaethau trymion, a'u henwau a ddileir odditan y nefoedd, a hwythau a deflir i lawr i uffern, lle y mae wylofain, ac ochain, a rhincian dannedd.

Oddiwrth y dyfyniadau a'r sylwadau blaenorol, gwelir fod gan Saint y Dyddiau Diweddaf olygiadau caethach am rinwedd, a'u bod yn ystyried eu hunain dan fwy o rwymau i ymgadw, nid yn unig rhag gweithredoedd anrhinweddol, eithr rhag meddyliau anrhinweddol, nag un bobl arall dan y nefoedd. Ond a yw y Saint yn arddangos, trwy eu hymarferiadau, eu bod yn credu yr hyn y mae'r Arglwydd wedi eu dysgu ar y pynciau hyn? A ydynt yn ymarferyd rhinwedd, yn gystal â rhoddi hyfforddiadau yn ei gylch? Atebwn, llefared ymarferiadau deg mil ar hugain o Saint yn Utah; myneged dyeithriaid sydd wedi teithio trwy ein tiriogaeth flodeuog; dyger tystiolaeth gan gof-lyfrau y brawdlysoedd; bydded i'r benywod a niweidiwyd, os oes rhai, cymmeriad ac enw da pa rai a ddinystriwyd gan yr hudwr gwael, gyhoeddi eu camwri; deued bastarddiaid allan, os oes

rhai yn Utah, i fod yn gofadail gyhoeddus o'n gwaradwydd; os ceir allan dŷ o gymmeriad drwg trwy hyd a lled ein tiriogaeth, yna cuddied y Saint eu gwynebau gan gywilydd, a gwridied meibion a merched Utah gerbron y nefoedd; os ceir godinebwr, neu hudwr rhinwedd benywaidd, yn yr holl dir hwnw, yna ymwisged yr henuriaid mewn sachliain, a gosoded y Saint am danynt alarwisgoedd, ac wylo gerbron yr Arglwydd, ddydd a nos, hyd nes y cymmerer y drwg o'u canol.

Ond ai nid oes gan rai o'r Saint yn Utah, fwy nag un o wragedd? Oes: a chymmerant ofal da am danynt hefyd; ac y maent yn eu dysgu hwy a'u plant egwyddorion mawrion rhinwedd a santeiddrwydd, trwy esiampl yn gystal â thrwy hyfforddiad. Eithr onid yw yn bechadurus i ddyn feddu mwy nag un wraig yn fyw ar yr un pryd? Os ydyw, nid yw y Beibl wedi ein hysbysu am hyny. Eithr onid yw yn groes i'r grefydd Gristionogol? Os ydyw, nid yw y grefydd Gristionogol wedi ei ddadguddio fel drwg. Eithr onid ydych yn ddiau yn meddwl ei fod yn groes i ewyllys Duw, i ddyn, yn y dyddiau hyn, gymmeryd amledd o wragedd? Ydym, oddieithr i Dduw eu rhoddi iddo trwy ddadguddiad i brophwyd santaidd. Ai nid yw yn groes i Ffurf-lywodraeth a chyfreithiau yr Unol Daleithiau, i ddinasyddion Utah i ymarferyd ag amledd o wragedd? Nac yw; ac nid yw Ffurf-lywodraeth na chyfreithiau yr Unol Daleithiau, wedi llefaru dim ar y pwnc o briodas neu berthynasau teuluaidd. Eithr onid yw yn groes i gyfreithiau y Diriogaeth? Nac yw; nid yw Deddfwyr y Diriogaeth hono yn teimlo i amddifadu eu dinasyddion o unrhyw fendithion a rhagorfreintiau a fwynheid, dan gymmeradwyaeth yr Hollalluog, gan y santaidd brophwydi a phatriarchiaid gynt.

A ydych chwi yn credu fod Llyfr Mormon yn ddadguddiad dwyfol? Ydym. A ydyw y llyfr hwnw yn dysgu yr athrawiaeth o amledd gwragedd? Nac ydyw. A yw yr Arglwydd yn y llyfr hwnw yn gwahardd yr athrawiaeth o amledd gwragedd? Efe a waharddodd i'r Nephiaid gynt gael mwy nag un wraig. Pa beth a ddywed Llyfr Mormon ar y pwnc hwn? Dywed fel y canlyn, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Mi a arweiniais y bobl hyn allan o wlad Jerusalem, trwy nerth fy mraich, fel y cyfodwn i mi gangen gyfiawn o ffrwyth lwynau Joseph. Am hyny, myfi, yr Arglwydd, ni ddyoddefaf i'r bobl hyn wneuthur yn gyffelyb

iddynt hwy gynt. Am hyny, fy mrodyr, gwrandewch arnaf, a chlywch air yr Arglwydd; canys ni chaiff un dyn yn eich plith chwi onid un wraig; a gordderchwragedd ni chewch un."—Llyfr Jacob ii, 6. Paham yr oedd y Nephiaid gynt yn cael eu cyfyngu i'r gyfundraeth un-wreigaidd? Oblegid, yn gyntaf, fod nifer y gwrrywod a'r benywod yn eu plith hwy, yn yr amser y rhoddwyd y gorchymyn, ynghylch bod yn gyfartal. Yn ail, nid oedd un tebygolrwydd y buasai i farnedigaethau, rhyfeloedd, neu unrhyw ddrygau ereill ag oedd i ddygwydd i'w cenedl, achosi anghyfartalrwydd yn nifer y gwrrywod a'r benywod. Yn drydydd, yr oedd y gweddill bychan hwn o lwyth Joseph, ar y pryd hwnw, ynghylch bod yn gyfartal mewn cyfiawnder; ac yr oedd un ynghylch bod mor alluog â'r llall i gyfodi teulu mewn cyfiawnder. Ac yn ddiweddaf, mae yr Arglwydd ei hun yn eu hysbysu, yn yr un cyssylltiad â'r dyfyniad a wnaethym, os mynai Efe iddynt wneyd ymarferiad gwahanol i'r hyn a ddysgodd yn flaenorol, fod yn rhaid i hyny fod trwy ei orchymyn Ef. Darllena fel y canlyn: "Canys os myfi, medd Arglwydd y lluoedd, a gyfodaf i mi had, mi a orchymynaf fy mhobl; onide, hwy a gant wrandaw ar y pethau hyn." Felly gwelwn, nad oedd gan ddyn yn mhlith y Nephiaid, yn ol cyfraith Duw, un hawl i gymmeryd mwy nag un wraig, oddieithr i'r Arglwydd orchymyn er mwyn cyfodi had iddo ei hun. Heb y cyfryw orchymyn, yr oeddynt yn cael eu cyfyngu yn gaeth i'r athrawiaeth un-wreigaidd: "*onide*," medd yr Arglwydd, "*hwy a gant wrandaw ar y pethau hyn*;" hyny yw, heb orchymyn pwrpasol, hwy a gaent wrandaw ar y gyfraith ag oedd yn eu cyfyngu i un wraig. Felly y mae yn Eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf; mae pob dyn yn cael ei gyfyngu yn gaeth i un wraig, oddieithr i'r Arglwydd, trwy Lywydd a Phrophwyd yr Eglwys, roddi dadguddiad i ganiatâu iddo gymmeryd rhagor. Heb y cyfryw ddadguddiad byddai yn bechadurus, yn ol Llyfr Mormon, yr hwn y gofynir i'r Eglwys hon ei ufyddhau. Gan hyny, y mae Llyfr Mornon yn rywfaint yn gaethach nâ'r Beibl; canys nid oes dim yn y Beibl ag sydd yn cyfyngu dynolryw wrth un wraig, eithr y mae Llyfr Mormon yn gwahardd yn hollol i ddyn gael mwy nag un wraig, oddieithr i Dduw orchymyn fel arall.

Yn awr, yn nechreuad boreuol yr eglwys hon, ni roddodd yr Arglwydd orchymyn i neb o'i weision i'w hawdurdodi hwynt i

gymmeryd mwy nag un wraig, eithr yn y gwrthwyneb, dywedodd wrthynt am dalu sylw i'r hyn ag oedd yn ysgrifenedig yn Llyfr Mormon; o ganlyniad, yr oeddynt hwy dan y rhwymau caethaf i gyfyngu eu hunain wrth un wraig, hyd nes y deuai gorchymyn fel arall, yr hyn ni welodd yr Arglwydd yn addas i'w roddi i neb o honynt, cyn yn mhen oddeutu tair blynedd ar ddeg ar ol corffoliad cyntaf yr Eglwys. Gan hyny, mae yr Eglwys o hyd yn cael eu cyfyngu gan y cospedigaethau trymaf, i un wraig, yn ol Llyfr Mormon, oddieithr mewn achosion personol, lle y gwna yr Arglwydd, trwy ddadguddiad, gyfarwyddo yn wahanol.

Nid oes gan un dyn yn Utah, yr hwn sydd ganddo wraig eisoes, a'r hwn a all ddymuno cael un arall, unrhyw hawl i wneyd cynnygiadau priodas i foneddiges, hyd nes y byddo wedi ymgynghori â Llywydd yr holl eglwys, a thrwyddo ef, gael dadguddiad oddiwrth Dduw, pa un a fyddai hyny yn gymmeradwy yn ei olwg. Os gwaherddir ef trwy ddadguddiad, mae hyny yn terfynu y mater: os, trwy ddadguddiad, y caniatêir y fraint iddo, nid oes hawl ganddo etto i fynu gwybod teimladau y foneddiges ieuanc, hyd nes y byddo wedi cael cymmeradwyaeth ei rhieni, os byddant yn byw yn Utah; os na ellir cael eu cydsyniad hwy, mae hyn hefyd yn terfynu y mater. Eithr os bydd y rhieni, neu y gwarcheidwaid yn rhoddi eu cydsyniad, yna efe a all wneyd cynnygiadau priodas i'r foneddiges ieuanc; os gwrthoda hi y cynnygiadau hyn, y mae hyny hefyd yn terfynu y mater; eithr os gwna eu derbyn, yn gyffredin neillduir diwrnod gan y pleidiau, er i'r seremoni briodasol gael ei gweinyddu. Mae yn angenrheidiol hysbysu, mai dyledswydd dyn, cyn cymmeryd y cam cyntaf tuag at gael gwraig arall, yw ymgynghori â theimladau y wraig sydd ganddo eisoes, a chael ei chydsyniad, fel y mae yn ysgrifenedig yn y 24ain wahanran o'r Dadguddiad, a gyhoeddwyd yn y rhifyn cyntaf o'r "Seer."

Pan fyddo y dydd a neillduwyd er gweinyddiad y seremoni briodasol wedi dyfod, mae y priodfab, a'i wraig, ac hefyd y briodasferch, ynghyd â'u perthynasau, a'r cyfryw wahoddedigion ereill ag a fyddo wedi eu gwahodd, yn ymgynnull yn y lle a fyddant wedi benodi. Yna yr ysgrifenydd a osoda i lawr enwau, oedran, trefi genedigol, swyddi, Taleithiau, a gwledydd y pleidiau a fydd i'w priodi, y rhai yn ofalus a ysgrifena yn y cof-lyfr.

Y Llywydd, yr hwn yw Prophwyd, Gweledydd, a Dadguddiwr yr holl eglwys trwy y byd, a'r hwn yn unig sydd yn dal allweddau awdurdod yn yr ordinhad ddwyfol hon (fel y mae yn ysgrifenedig yn yr 2il a'r 5med wahanran o'r Dadguddiad ar Briodas),— a eilw ar y priodfab, a'r wraig, a'r briodasferch i gyfodi, yr hyn a wnant, gan wynebu y Llywydd. Mae y wraig yn sefyll ar y llaw aswy i'w gwr, tra y mae y briodasferch yn sefyll ar ei llaw aswy hithau. Yna y Llywydd a osoda y gofyniad hwn i'r wraig: "A ydych chwi yn foddlawn i roddi y fenyw hon i'ch gwr, i fod yn wraig briod gyfreithlawn iddo dros amser a thros bob tragywyddoldeb? Os ydych, amlygwch hyny trwy osod ei llaw ddeheu hi yn llaw ddeheu eich gwr." Wedi i ddwylaw deheu y priodfab a'r briodasferch gael eu huno felly, y wraig a gymmera ei gwr gerfydd ei fraich aswy, megys yn yr agwedd o rodio: yna y Llywydd a â rhagddo i ofyn y cwestiynau canlynol i'r gwr: "A ydych chwi, frawd [gan ei alw wrth ei enw], yn cymmeryd y chwaer [gan alw y briodasferch wrth ei henw] gerfydd y llaw ddeheu, i'w derbyn atoch eich hun, i fod yn wraig briod gyfreithlawn i chwi, a chwithau i fod iddi hi yn wr priod cyfreithlawn, dros amser a thros bob tragywyddoldeb, gyda chyfammod ac addewid, o'ch tu chwi, y cyflawnwch yr holl gyfreithiau, defodau, ac ordinhadau, perthynol i'r briodas santaidd hon, yn y cyfammod newydd a thragywyddol, gan wneuthur hyn yn mhresennoldeb Duw, yr angylion, a'r tystion hyn, o'ch ewyllys rydd a'ch dewisiad eich hunan?" Mae y priodfab yn ateb, "Ydwyf." Yna y Llywydd a osoda y cwestiwn i'r briodasferch: "A ydych chwi, chwaer [gan ei galw wrth ei henw], yn cymmeryd y brawd [gan ei alw wrth ei enw] gerfydd y llaw ddeheu, a rhoddi eich hun iddo, i fod yn wraig briod gyfreithlawn iddo dros amser a thros bob tragywyddoldeb, gyda chyfammod ac addewid, o'ch tu chwi, y cyflawnwch yr holl gyfreithiau, defodau, ac ordinhadau, perthynol i'r briodas santaidd hon, yn y cyfammod newydd a thragywyddol, gan wneuthur hyn yn mhresennoldeb Duw, yr angylion, a'r tystion hyn, o'ch ewyllys rydd a'ch dewisiad eich hunan?" Mae y briodasferch yn ateb, "Ydwyf." Yna y Llywydd a ddywed, "Yn enw yr Arglwydd Iesu Grist, a thrwy awdurdod yr Offeiriadaeth santaidd, yr wyf yn eich cyhoeddi yn gyfreithlawn yn wr a gwraig dros amser a thros bob tragywyddoldeb; ac yr wyf yn selio arnoch fendithion yr adgyf-

edigaeth santaidd, gyda gallu i ddyfod allan yn moreu yr adgyfodiad cyntaf, yn wisgedig â gogoniant, anfarwoldeb, a bywydau tragywyddol; ac yr wyf yn selio arnoch y bendithion o orseddau, a llywodraethau, a thywysogaethau, ac awdurdodau, a dyrchafiadau, ynghyd â bendithion Abraham, Isaac, a Jacob; ac yn dywedyd wrthych, ffrwythwch, ac amlhewch, a llanwch y ddaear, fel y caffoch lawenydd a gorfoledd yn eich hiliogaeth yn nydd yr Arglwydd Iesu. Yr holl fendithion hyn, ynghyd â phob bendithion ereill perthynol i'r cyfammod newydd a thragywyddol, wyf yn selio ar eich penau, trwy eich ffyddlondeb hyd y diwedd, yn ol awdurdod yr Offeiriadaeth santaidd, yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân. Amen." Yna mae yr ysgrifenydd yn gosod i lawr, ar y cof-lyfr cyffredinol, amser a lle y briodas, ynghyd ag enwau dau neu dri o'r tystion ag oedd yn bresennol.

Yn y Dadguddiad ar Briodas, hysbysir ni nad oes byth ond un dyn ar y ddaear ar yr un amser, ag sydd yn dal yr allweddau i weinyddu y seremoni o briodas dros amser a thros bob tragywyddoldeb, ac i selio yr unrhyw ar y ddaear gydag awdurdod, fel y caffo ei gydnabod a'i selio yn y nefoedd. Mae allweddau awdurdod yn cael eu rhoddi trwy ddadguddiad, a thrwy yr eneinniad santaidd, i Brophwyd, Gweledydd, a Dadguddiwr yr Eglwys, yr hwn sydd Lywydd ar yr holl Saint trwy y byd. Mewn achosion lle na fyddo yn gyfleus iddo ef fod yn bresennol, medda yr awdurdod o benodi ereill i weinyddu yn ei le. Eithr yn mhob achosion o'r natur hyn, rhaid i'r pleidiau ymgynghori ag ef, a chael ei gymmeradwyaeth.

Pan fyddo dyn yr hwn sydd ganddo wraig, yn dysgu iddi gyfraith Duw, megys ei dadguddiwyd i'r Patriarchiaid gynt, ac megys ei heglurwyd trwy y dadguddiad newydd, a hithau yn nacâu rhoddi ei chydsyniad iddo ef i briodi un arall yn ol y gyfraith hono, yna, y mae yn angenrheidiol iddi hysbysu, o flaen y Llywydd, y rhesymau sydd ganddi dros wrthod rhoddi ei chydsyniad; os bydd ei rhesymau yn ddigonol ac yn gyfiawnhaol, a'r gwr yn cael ei brofi yn feius, neu mewn trosedd, yna, ni chaniatêir iddo ef gymmeryd unrhyw lwybr er cael un arall. Eithr os na all y wraig ddangos rheswm da paham y gwrthoda ufyddhau i'r gyfraith a roddwyd i Sarah gynt, yna y mae yn gyfreithlawn i'r gwr, os caniatêir iddo trwy ddadguddiad gan y Prophwyd, i

ymbriodi ag ereill heb ei chydsyniad, a chyfiawnheir ef, a chondemnir hithau, o herwydd na roddodd hwynt iddo, megys y rhoddodd Sarah Hagar i Abraham, ac megys y rhoddodd Rachel a Leah Bilhah a Zilpah i'w gwr, Jacob.

Dyledswydd dyn sydd yn cymmeryd gwraig arall, yw edrych at ei lles a'i dedwyddwch, a darparu iddi gysuron bywyd, yr un fath â thuag at y gyntaf; canys yr Ysgrythyr, wrth lefaru am y cyfryw ddyn, a ddywed; "Ac os arall a brioda efe, na wnaed yn llai ei hymborth, ei dillad, na'i dyled priodas," Exodus xxi, 10.

Nid oes un reol neillduol o barthed i drigfa gwahanol gangenau teulu. Dygwydda yn dra mynych eu bod yn byw yn yr un tŷ, ac yn ymuno gyda'r sirioldeb mwyaf i wneyd yr holl waith teuluaidd, bwyta wrth yr un bwrdd, ac edrych yn dirion ar ol lles eu gilydd, tra y mae'r heddwch a'r undeb mwyaf yn ffynu flwyddyn ar ol y llall. Eu plant a gyd-chwareuant ac a gymdeithasant â'u gilydd gyda'r serch mwyaf, megys brodyr a chwiorydd; tra y mae pob mam yn dangos cymmaint o dynerwch a charedigrwydd tuag at blant y lleill, ag a wna tuag at ei heiddo ei hun. A phob boreu a hwyr, pan fyddo y gwr yn galw ei deulu ynghyd i addoli yr Arglwydd, a galw ar ei enw, mae yr oll yn plygu eu gliniau, a chyda'r undeb teimladau goreu, offrymant eu gwasanaeth i'r Goruchaf.

Mae yn dygwydd weithiau fod y gwr yn darparu i'w wragedd anneddau gwahanol, megys y gwnaeth Jacob i'w bedair gwraig, pob un o'r rhai a feddent babell iddynt eu hunain. Gwel Genesis xxxi, 33. Lle y byddo'r gwragedd yr un mor ffyddlawn, y gwr yn gyffredin a ymdrecha ymddwyn tuag atynt oll heb bleidgarwch.

Mae eiddigedd yn ddrwg ag nad yw y Saint yn Utah ond yn anfynych iawn yn cael eu blino ag ef; mae yn ddrwg ag nad yw yn cael ei gefnogi gan wrryw na benyw; a phe yr ymblesera neb yn y fath nwyd, dygent warth a gwaradwydd arnynt eu hunain, yr hwn ni allent yn rhwydd ei ddileu. Ac yn wir, anfynych iawn y mae unrhyw achosion i eiddigedd; canys y mae dinasyddion y Diriogaeth hono yn meddwl mwy am eu rhinwedd nag am eu bywydau. Gwyddant os bydd iddynt unrhyw gyssylltiadau tu allan i'r cyfammod priodasol, eu bod nid yn unig yn fforffedu eu bywydau trwy gyfraith Duw, eithr yn fforffedu eu hiachawdwriaeth hefyd. Gyda'r fath olygiadau yn bodoli yn

meddyliau hen ac ieuanc, mae gan y bobl yr ymddiried mwyaf yn mhurdeb eu gilydd; gallant ymddiried eu gwragedd a'u merched, heb unrhyw ofn, i nodded a gofal eu cymmydogion. O dan y cyfreithiau llymion a manwl dros rinwedd a ffynant ac a ddygir i ymarferiad cyffredinol, nid yw gwragedd mewn ofn parhaus o anwadalwch eu gwyr; nid yw rhieni yn ofnus fod eu plant yn cael eu twyllo, a'u cymmeriad yn cael ei ddinystrio; ac nid ydynt yn ofni y ffurfia eu plant gytundebau priodasol heb eu caniatâd; canys nid yw y fath beth yn cael ei ganiatâu yn yr holl diriogaeth. Gan fod y fath sefyllfa ar bethau yn bodoli, nid mewn dysgeidiaeth anymarferol yn unig, eithr mewn ymarferiad cyffredinol, y mae yn symud pob achos o eiddigedd, diffyg ymddiried, ac ofn, ac yn gosod sylfaen fawr a chadarn i heddwch ac undeb. Os ymddyga dyn ar gam at ryw un o'i wragedd, edrychir arno fel un fydd wedi troseddu cyfraith Duw, ac y mae yn anhawdd iddo dynu ei hun o'r gwaradwydd.

Mae mwy o gwerylau, ac eiddigedd, ac anundebau, ac enllib, mewn un wythnos, yn mysg dwy fil o deuluoedd, a'u cymmeryd ar amcan yn rhywle yn yr Unol Daleithiau neu Lloegr, nag a welid trwy holl Diriogaeth Utah mewn pum mlynedd. Ac y mae mwy o ymddygiadau anrhinweddol yn cael eu harfer mewn un dydd yn ninas New York, neu Albany, neu Buffalo, neu Cincinnati, neu St. Louis, nag a ymarferid yn Utah am fil o genedlaethau, oddieithr iddynt ddirywio yn fawr oddiwrth eu safon moesau yn bresennol.

(*I'w barhau.*)

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Allan o'r "Seer."]

1. MAE dyn yn y bywyd hwn yn gynnwysedig o gorff o gnawd ac esgyrn, wedi ei fywhau gan ysbryd byw a deallgar. Yr ydys wedi bod yn tybied fod ysbryd yn dechreu byw o fewn y babell farwol tra y mae etto mewn *embryo*, ac nad oedd yr ysbryd mewn bodoliaeth yn flaenorol i reoleiddiad y corff. Dyma yw golygiadau y byd Cristionogol yn bresennol. Ni a ymdrechwn brofi fod y golygiadau hyn ar y pwnc yn anghywir.

2. Nid oes dim yn afresymol mewn cyn fodoldeb ysbrydoedd.

Os gall ysbrydoedd fodoli ar ol marwolaeth mewn cyflwr o ddedwyddwch neu drueni, a oes rhyw reswm paham na allant fodoli yn flaenorol i reoleiddiad y corff? Os gallant feddwl, ac ewyllysio, a symud ar ol iddynt adael y corff, paham na allant ddefnyddio y galluoedd hyn cyn y cymmerant feddiant o'r corff? Os mai nid dinystr y corff yw marwolaeth yr ysbryd, yna rhaid cyfaddef nad yw yr ysbryd mewn un modd yn ymddibynu ar y corff am ei fodoliaeth, ac o ganlyniad fe all fodoli o flaen y corff, yn gystal ag ar ei ol. Nid yw digorffoliad y corff yn amddifadu yr ysbryd o fywyd, ac nid yw rheoleiddiad y corff yn rhoddi bywyd i'r ysbryd: y mae yn meddu bywyd ynddo ei hun. Nid yw bywyd a dealltwriaeth yn effaith rheoleiddiad, eithr hwy yw yr achos; ac am hyny, rhaid iddynt fodoli cyn y gall yr effeithiau ganlyn. Mae ein cyrff yn cael eu llunio allan o bridd y ddaear, eithr a yw ein hysbrydoedd yn cael eu gwneyd o'r un defnyddiau? Pe byddent, yna, yn angeu, hwy a ddychwelent i'r pridd; ond gan nad ydynt yn troi yn bridd, fel y corff, rhaid eu bod wedi eu llunio o ddefnyddiau llawer rhagorach nâ'r rhai hyny o eiddo y ddaear. O ba le y daeth y defnyddiau hyny? Daethant oddiwrth Dduw. Dywed Solomon, pan yn llefaru yn nghylch y pwnc o farwolaeth, "Yna y dychwel y pridd i'r ddaear fel y bu, ac y DYCHWEL yr ysbryd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef" (Preg. xii, 7). Yn ol y geiriau hyn, nid yw yr ysbryd o ddechreuad daearol, eithr nefol: daeth oddiwrth Dduw—dychwela at Dduw. "Duw yr hwn a'i rhoes," sydd hefyd yn ei dderbyn yn ol i'w bresennoldeb.

3. A allai yr ysbryd *ddychwelyd* at Dduw, pe na buasai erioed wedi bod yn ei bresennoldeb? A allem ni ddychwelyd i le na fuom ynddo erioed o'r blaen? Os oedd, ynte, ysbrydoedd dynion yn bodoli gyda Duw, ac yn dyfod oddiwrtho ef i fywhau cyrff marwol, rhaid naill ai eu bod yn cael eu creu yn y nefeodd ar yr amser y llunir y pebyll mabanaidd, neu ynte eu bod yn bodoli yn flaenorol. Os yw yr ysbryd yn cael ei ffurfio yn y nefoedd ar yr amser y parotoir y tŷ daearol er ei dderbyn, yna rhaid fod Duw wedi bod wrth y gwaith o greu ysbrydoedd yn ol oddeutu deg miliwn y flwyddyn, neu oddeutu ugain ysbryd bob mynyd, yr hyn yw y cyfartalrwydd o'r nifer a enir i'r byd yn y cyfryw amser. Yn awr, yr ydym yn darllen i Dduw wneyd pob peth, perthynol i'n daear ni, mewn chwech diwrnod, a gorphwys ar y

seithfed. A allwn ni dybied, am un fynyd, i Dduw esgeuluso ffurfiad ysbrydoedd yn ngwaith gogoneddus y greadigaeth? A allwn ni dybied ei fod wrth y gwaith o greu ysbrydoedd dynol er mwyn y ddaear hon, yn ol un bob tair eiliad, er pan y cyhoeddodd Ef y nefoedd a'r ddaear, a phob peth ynddynt, wedi eu gorphen ac yn dda iawn. Mae y fath dyb yn anghysson ac anysgrythyrol.

4. Drachefn, a wnelai Bod da a doeth greu ysbrydoedd, a chyn y gallent fod wedi cael amser i brofi eu hunain trwy ufyddhau neu anufyddhau ei gyfreithiau Ef, eu bwrw allan o'i bresennoldeb—eu halltudio o'i deyrnas ogoneddus—eu cau i fyny mewn pebyll daearol—eu cuddio oddiwrth ei wyneb—a'u gwneyd yn agored i brofedigaeth, adfyd, a thrueni? Yn awr, os meddyliwn fod yr ysbryd yn cael ei ffurfio yn y nefoedd, tra y byddo y babell mewn *embryo* yn cael ei ffurfio ar y ddaear, yna nid oes ganddo ddim amser i ennill profiad yn mhresennoldeb ei Wneuthurwr; nid oes ganddo ddim amser i weithredu yn ol ei ewyllys rydd; nid oes ganddo ddim amser i ufyddhau nac anufyddhau; eithr mor fuan ag y mae yn cael ei ffurfio, alltudir ef, yn ol y dybiaeth hon, i allfro erchyll o bresennoldeb ei Dad, ac o ogoniant y nefoedd, i dreulio allan fywyd o dristwch mewn pabell ddaearol. Mae y fath dybiaeth yn wrthun, ac mewn gwrthryfel â'r priodoliaethau o ddaioni, cyfiawnder, a thrugaredd, y rhai a berthynant i'r Duwdod.

5. Yn gymmaint â bod yr ysgrythyr yn ein hysbysu fod ysbryd dyn wedi bod yn bodoli gyda Duw, ac wedi dyfod oddiwrtho, ac yn dychwelyd ato, mae yn rhesymol i gredu i'w ffurfiad gymmeryd lle mewn cyfnod o flaen corffoliad y corff. Mae yn rhaid fod y gyfnod hon o gyn-fodoldeb yn ddigon hir er fod wedi addysgu ac hyfforddi yr ysbryd yn y cyfreithiau a threfn y llywodraeth, perthynol i'r byd ysbrydol; er fod wedi dangos ei hun yn gymmeradwy neu anghymmeradwy trwy y cyfreithiau hyny; er fod wedi cael ei brofi yn mhob pwynt, yn ol ei alluoedd a'i wybodaeth, a'r ewyllys rydd ag sydd yn wastad yn canlyn ac yn ffurfio rhan o natur bodau deallgar; mewn gair, rhaid fod y cyfnod o gyn-fodoldeb yn ddigon hir er fod wedi cyfansoddi sefyllfa o brawf, neu yr "*ystad gyntaf*," yn mha un y mae yr ysbrydion ar brawf, ac y gallant syrthio, a chael eu rhoddi i gadw mewn cadwynau o dywyllwch hyd farn y dydd mawr.

6. Mae cyn-fodoldeb dyn yn athrawiaeth ag oedd yr henafiaid yn ei chredu. Pan welodd dyscyblion yr Iesu ddyn ag oedd yn ddall o'i enedigaeth, hwy a ofynasant y cwestiwn canlynol i'w Meistr:—"Pwy a bechodd, ai hwn, ai ei rieni, fel y genid ef yn ddall?"—Ioan ix, 2. Mae yn amlwg, oddiwrth natur y cwestiwn hwn, yr ystyriai y dyscyblion fod yn bosibl i ddyn bechu cyn iddo gael ei eni; ac o herwydd hyny, y gallai gael ei "eni yn ddall." Y geiriau hyn a ddangosant yn eglur iawn, fod y dyscyblion, nid yn unig yn credu yn nghyn-fodoldeb dyn, eithr yn credu ei fod yn oruchwyliwr deallgar, yn cael ei lywodraethu gan gyfreithiau ag oedd yn alluog i ufyddhau neu anufyddhau iddynt, ac y gallai ei bechodau yn ei sefyllfa flaenorol fod yn achos iddo gael ei eni yn ddall, a bod ei gyflwr yn ei sefyllfa bresennol wedi cael ei achosi gan ei weithredoedd yn y sefyllfa flaenorol. Mae yr Iachawdwr, wrth ateb y cwestiwn hwn, yn dywedyd, "Nid hwn a bechodd, na'i rieni chwaith: eithr fel yr amlygid gweithredoedd Duw ynddo ef."—Adn. 3. Yn awr, os nad oedd cyn-fodoldeb dyn yn athrawiaeth wirioneddol, paham na chymmerodd yr Iachawdwr y cyfleusdra hwn i ddiwygio drychfeddyliau y dyscyblion trwy ddywedyd wrthynt nad allai y dyn dall bechu cyn iddo gael ei eni? Paham na ddywedodd ond yn unig mai nid effeithiau ei bechodau ef na'i rieni oedd ei ddallineb? Paham y gadawodd efe o hyd yr argraff ar eu meddyliau y meddai y dyn dall gyn-fodoldeb?

7. Yr oedd yr Iesu ei hun yn credu mewn cyn-fodoldeb; oblegid efe a ddywedodd, "Oddiwrth Dduw y deilliais, ac y daethym i; oblegid nid o honof fy hun y daethym i, ond efe a'm hanfonodd i." A thrachefn, efe a ddywedodd, "Cyn bod Abraham, yr wyf fi" (Ioan viii, 42, 58). Mae yr Iesu yn gweddio fel hyn: "Ac yr awrhon, O Dad, gogonedda di fyfi gyda thi dy hun, â'r gogoniant oedd i mi gyda thi *cyn* bod y byd" (Ioan xvii, 5). Oddiwrth yr ymadroddion hyn, canfyddwn fod corff ysbrydol yr Iesu yn bodoli "cyn bod y byd."

8. Wedi profi fod cyn-fodoldeb dyn yn rhesymol ac ysgrythyrol, profwn yn nesaf y gellir olrhain y cyn-fodoldeb hwn yn ol i gyfnod o flaen sylfaeniad y byd. Gofynodd yr Arglwydd gwestiwn i Job o barthed i'r mater hwn: gofyna, "Pa le yr oeddit ti pan y sylfaenais i y ddaear? mynega, os medri ddeall. Ar ba beth y sicrhawyd ei sylfaeni hi, neu pwy a osododd ei chongl-

faen hi, pan gyd-ganodd sêr y boreu, ac y gorfoleddodd holl feibion Duw?" (Job xxxviii, 4, 6, 7). Os na feddai Job fodoldeb blaenorol, gallai yn rhwydd ateb gofyniad cyntaf yr Arglwydd. Gallasai ateb, pan "*sylfaenaist ti y ddaear*," nid oeddwn i, Job, yn bodoli. Mae y cwestiwn ei hun yn arwyddo fod Job mewn bod pan gorffolwyd y ddaear, eithr nad oedd ganddo ddeall digonol, gyda golwg ar y lle y bodolai, i roddi ateb cywir i'r cwestiwn a ofynid iddo. Ac ni allai gofio "pwy a osododd ei chonglfaen hi;" ac ni allai adgofio cân sêr y boreu; ac ni allai ddwyn ar gof y fonllef o orfoledd a roddwyd gan y dyrfa fawr o "HOLL FEIBION DUW."

9. Mae yr Iesu yn galw ei hun, "*Y Seren foreu eglur*" (Dad. xxii, 16). Ac mewn man arall, y mae yn arddangos ei hun, yn "*ddechreuad creadigaeth Duw*" (Dad. iii, 14). Dywed Paul, mai yr Iesu "yw delw y Duw anweledig—CYNTAF-ANEDIG pob creadur" (Col. i, 15). Gan mai yr Iesu yw Mab Cyntaf-anedig Duw, mae yn eglur mai holl feibion ereill Duw fyddai ei frodyr ieuengaf, wedi eu cenedlu gan yr un Tad. Paul, gan hyny, a'i harddangosa fel yn "*gyntaf-anedig yn mhlith brodyr lawer*" (Rhuf. viii, 29). Ac mewn man arall, dywed, "Yr hwn sydd yn santeiddio, a'r rhai a santeiddir, o'r un y maent oll: am ba achos nid yw gywilyddus ganddo eu galw hwy yn frodyr" (Heb. ii, 11). Mai y brodyr a grybwyllir yma yw meibion Duw, wedi eu cenedlu gan yr un Tad â'r Iesu, sydd eglur oddiwrth ddywediad arall o eiddo yr Apostol, "Ni a gawsom dadau ein cnawd i'n ceryddu, ac a'u parchasom hwy; onid mwy o lawer y byddwn ddarostyngedig i DAD YR YSBRYDOEDD, a byw?" (Heb. xii, 9). Ein tadau daearol a elwir yn "*dadau ein cnawd*," tra y gelwir Duw yn "*Dad yr ysbrydoedd.*" Nid oes gan dadau daearol allu i genedlu ysbrydoedd; ni chenedlant hwy ond yn unig y cyrff o gnawd, neu y tabernaclau; tra y mae ein Tad nefol yn cenedlu yr ysbrydoedd, neu y bodau byw ag a ddeuant oddiwrtho ef i breswylio y tabernaclau.

10. Mae y "Cyntaf-anedig" o'r holl deulu mawr hwn o ysbrydoedd, yn dal, trwy rinwedd ei enedigaeth-fraint, flaenoriaeth mewn pob peth: o herwydd hyny y mae yn ysgrifenedig, "Pan yw yn dwyn y *Cyntaf-anedig* i'r byd, y mae yn dywedyd, Ac addoled holl angylion Duw ef" (Heb. i, 6). Mae yr ysbrydoedd hynaf, neu y Cyntaf-anedig, yn dal allweddau iachawdwriaeth

tuag at y lleill i gyd o deulu yr ysbrydoedd. Gelwir yr Ysbryd "Cyntaf-anedig" yn "*Seren foreu*," oblegid iddo gael ei eni yn moreu y Greadigaeth, neu mewn geiriau ereill, oblegid mai Efe oedd "dechreuad creadigaeth Duw." Ei frodyr ieuengaf a elwid yn "*ser y boreu*," oblegid iddynt hwythau hefyd gael eu geni yn moreu y greadigaeth, gan fod yn nesaf mewn olyniad yn nhrefn y greadigaeth ysbrydol.

11. Wedi i "Dad yr Ysbrydoedd" lanw un o'i deyrnasoedd nefol â'i feibion a'i ferched ei hun,—ffrwyth ei lwynau ei hun, efe a roddodd orchymyn i'w "Gyntaf-anedig" i gorffoli, allan o'r elfenau tragywyddol, fyd arall Mewn ufydd-dod i'r gorchymyn mawr hwn, y "Cyntaf-anedig," ynghyd â'i holl frodyr ieuengaf ag oedd wedi cadw eu "*hystad gyntaf*," a aethant i osod "sylfaeni y ddaear," a'i "chonglfaen hi." Ac ar yr achlysur gogoneddus hwn, fe "gyd-ganodd Sêr y boreu." Ni ddadguddiodd yr Arglwydd i Job y drychfeddyliau a gynnwysid yn y gân hon. Tebygol mai cân ydoedd a gyfansoddid gan un o'r prydyddion doethaf yn y deyrnas fawr o ysbrydoedd ag oedd wedi ymgynnull yno. Diammau ei bod yn cynnwys drychfeddyliau cyfaddas i fawrhydi, mawredd, ac ardderchogrwydd y gwaith ag oeddynt wedi ei ddechreu. Yr oedd sylfaeni byd mawreddog yn cael eu gosod—y conglfeini a osodwyd yn eu lleoedd priodol. Ar y rhai hyn, neu oddiamgylch iddynt, fel pwynt canol, yr oedd glôb mawreddog i gael ei adeiladu, a'i addurno ag holl ardderchogrwydd ysplenydd gwaith nefolaidd. Uwchlaw, islaw, ac oddi amgylch yr elfenau tragywyddol hyn y cwhwfanai miloedd o filiynau o feibion Duw, y rhai oeddynt ysbrydoedd dynion. Trwy ysbryd y brophwydoliaeth, edrychent ar y maes eang o ddefnyddiau anghorffoledig, ag oedd yn estynedig allan braidd yn annherfynol yn yr eigion anfesurol o wagle ag oedd yn eu hamgylchynu. Gwelsent fod y defnyddiau hyny i gael eu ffurfio a'u llunio i fyd mawreddog, i gael ei barotoi a'i addurno yn drigle dyfodol iddynt hwy; lle y caent fodoli, byw, a symud mewn pebyll daearol; lle y caent ysgwyd teyrnwialen llywodraeth dros holl raddau iselaf y greadigaeth; lle y caent ddyfod yn dadau i gyrff o gnawd, yn yr un modd ag yr oedd Duw yn Dad i'w hysbrydoedd hwy. Gwelsent gwymp, gwaredigaeth, a dyrchafiad tragywyddol meibion Duw, a gogoneddiad y ddaear ag oeddynt yn ei ffurfio, yr hon a gai fod yn drigle iddynt yn dra-

gywydd. Mewn adfyfyrdod o'r golygfeydd gogoneddus ag oedd yn pasio gyda godidogrwydd rhyfeddol o'u blaen, eu mynwesau a orlenwent o lawenydd anesgrifiadwy; rhoddent leferydd i'w teimladau mewn caniadau o seinber beroriaeth, yr hon a adseiniai o un byd i'r llall, gan lanw yr holl nefoedd â moliant Duw, tra y crynai tragywyddoldeb ei hun gan lawenydd.

12. Hwy gawsant nid yn unig ganiadau i wyl-gadw dechreuad corffoliad y ddaear hon, eithr fe "orfoleddodd holl feibion Duw." Pwy a all ddwys-fyfyrio ar y dygwyddiad gogoneddus hwn, heb gael ei orchfygu braidd gan y drychfeddyliau o fawredd ac ardderchogrwydd ag sydd yn ymwthio ar y meddwl? Yr oedd yr holl genedlaethau o ddynion a fu erioed byw, neu a fydd byw ar y ddaear, yn ymgynnulledig ar yr achlysur hwnw. Meibion Duw oeddynt: hwynt-hwy oedd y rhai a orfoleddodd. Yr oedd yn rhaid fod eu lleisiau unol megys swn dyfroedd lawer yn cael eu gyru gan dymhestloedd nerthol, tonau mynyddig y rhai, gan ymdreiglo, a ymdorant yn fawreddog yn erbyn y glàn creiglyd. Yr oedd yn rhaid fod bonllef o lawenydd yn tori allan ar unwaith oddiwrth fyd dirfawr o ysbrydoedd, megys rhuad deg mil o daranau, yn adseinio o fynydd i fynydd, nes y mae yr holl ddaear yn crynu o dan ei allu.

13. Mae rhywbeth mawreddog ac ardderchog yn yr adfyfyrdod o'n cyn-fodoldeb. Mor rhyfeddol a dyddorawl yw i ni wybod i'r bodau a alwn ni ein hunain, ag sydd yn trigo yn awr yn y pebyll daearol hyn, fodoli filoedd o flynyddoedd yn ol—i ni fod yn bresennol pan osodwyd sylfaeni y ddaear—i ni bryd hyny ganu a gorfoleddu—ein bod ni gyda ein brawd hynaf, y Cyntaf-anedig, wrth y gwaith o gorffoli y byd hwn—i ni breswylio am oesoedd yn mhresennoldeb ein Tad mewn byd gogoneddedig neu nefolaidd—ein bod yno yn gweled ei wyneb, ac yn gorfoleddu yn ei ogoniant—i ni gael yno ein dysgu yn noethineb a gwybodaeth Duw, hyd nes y dysclaeriai y ddealltwriaeth a ymbelydrai oddiwrth ein personau, fel y wawr-ddydd.

(*I'w barhau.*)

---

## Y CRISTION CYWIR.

D.

Ei dad yw Duw y duwiau,—a diwad
Ei dŷ yw D. diau;

Diwyd yw o hyd i hau
Da i dud Duw ei dadau.

DD.

E ddenodd i weddïo,—addawa
Ei Dduw hedd i'w eiddo;
E ddaw hedd ei Dduw iddo,
A hedd yw ei ddiwedd o.

L.

Hylaw yw ei law i lywio,—ei hil
Hwylia o le wylo;
Wele ail i'w Lyw yw o,
A haul yw i oleuo.

S.

Os oes ûs a si iasau,—i asio
Ai oes a ias eisiau;
Os ei oes sy oes o hau,
Was Iesu â'i oesoesau.

R.

Yr arwr a ŵyr oreu—air ei Iôr,
I'w air rhy ei oriau;
E ry a ŵyr, er oer iau,
Ar ei Iôr a'i wir eiriau.

*Lle'rpwll.* T. PIERCE.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

NA chanmolwch neb yn ormodol o flaen ei wyneb; ac na feiwch neb yn galed yn ei gefn.

MAE doethineb heb etifeddiaeth, yn well nag etifeddiaeth heb ddoethineb.

PLESERAU, tra y gwenieithant i ddyn, a'u brathant i farwolaeth.

AFRADLONIAID a allant aros pan y mynont yn eu gyrfa; rhaid iddynt aros yn y diwedd: ond y mae yn hawddach cyfnewid y llofrudd yn y weithred o lofruddio, nag attal trwy reswm garwr pleser yn ei yrfa.

---

TALIADAU O EBRILL 1 HYD EBRILL 7.—Merthyr, 4s 1c; Hirwaen, 8s 1c.—Cyfanswm, 12s 2c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 16.] EBRILL 16, 1853. [CYF. V.

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 243.]

14. MAE gwrthwynebiadau wedi eu cyfodi yn erbyn cyn-fodoldeb dyn, ar y tir nad ydym ddim yn cofio am y cyfryw fodoldeb, neu unrhyw ddygwyddiad cyssylltiedig ag ef. Mae yn wir, nad ydym yn cofio am unrhyw beth yn flaenorol i'n sefyllfa bresennol, eithr nid yw hyn yn profi nad oedd i ni gyn-fodoldeb. Nid ydym yn cofio am ein bodoldeb neu unrhyw beth arall, yn ystod y chwech mis cyntaf o'n babandod; a ydyw hyn yn profi nad oeddem yn bodoli yn ystod yr amser hwnw? Nac yw. Os gallem ni, ynte, fodoli am chwech mis yn ystod ein sefyllfa bresennol, heb gofio am hyny, fe allem, o herwydd yr un rheswm, fod wedi bodoli trwy chwech mil o flynyddoedd yn flaenorol i'n sefyllfa bresennol, ac heb gofio am hyny. Nid yw bodoldeb mewn un modd yn ddibynol ar gof; gan hyny, nid oes gan gof ddim i wneyd â phwnc ein sefyllfa fynedol.

15. Pan anwyd yr Iesu i'n byd ni, cafodd ei wybodaeth flaenorol ei chymmeryd oddiwrtho: achosid hyn trwy fod ei gorff ysbrydol yn cael ei gyfyngu i le llai nag a lanwai yn ddechreuol. Yn ei fodoldeb blaenorol, yr oedd ei ysbryd, fel y tystiolaetha yr ysgrythyrau, o faintioli ac ar ffurf dyn; pan gafodd yr ysbryd hwn ei gyfyngu, fel ag i fod yn hollol amgauedig mewn tabarnacl babanaidd, yr oedd tuedd yn hyny i ddiswyddo y cof; a'r doethineb a'r wybodaeth a fwynheid cyn hyny, a anghofiwyd. "Yn ei ostyngiad, ei farn ef a dynwyd ymaith,"—Act. viii, 33. Yr oedd

dyfod i lawr o'r nefoedd, o bresennoldeb ei Dad, lle y meddai yn flaenorol farn a dealltwriaeth digonol er llunio bydoedd, ac yna fyned i mewn i dabernacl marwol, yn wir ostyngiad. Yr oedd, yn wir, yn ostyngiad o'r mwyaf, i gael ei amddifadu o wybodaeth mor fawr. Etto efe a ddarostyngodd ei hun, ac a ymostyngodd i ddisgyn islaw pob peth, ac i ddechreu o'r newydd hyd y nod gydag egwyddorion gwybodaeth: o herwydd hyny, dywedodd un o'r efengylwyr, "A'r Iesu a gynnyddodd mewn doethineb a chorffolaeth,"—Luc ii, 52. Yn awr, pe buasai yr Iesu wedi cadw ei ddoethineb pan y cafodd ei eni i'r byd hwn, ni chawsai ei ddywedyd am dano, "*a gynnyddodd mewn doethineb.*" Os cymmerwyd ymaith y wybodaeth a feddai yr Iesu yn ei sefyllfa flaenorol, pan yr aeth i mewn i'r tabernacl babanaidd, nis gallai byth gael y wybodaeth hono yn ol ond trwy ddadguddiad. Felly y mae gyda dyn. Pan yr â efe i mewn i gorff o gnawd, mae ei ysbryd yn cael ei gyfyngu mewn mabandod, nes yr anghofia ei fodoldeb blaenorol, ac y mae ganddo i ddechreu, fel y gwnaeth yr Iesu, gydag egwyddorion iselaf gwybodaeth, ac esgyn yn raddol o un egwyddor o ddealltwriaeth i'r llall. Fel hyn yr adennill efe ei wybodaeth flaenorol; a thrwy ddangos ei hun yn gymmeradwy trwy bob gradd o ddealltwriaeth, cyfrifir ef yn deilwng i dderbyn ychwaneg ac ychwaneg, hyd nes y byddo wedi ei berffeithio a'i ogoneddu mewn gwirionedd, a'i wneuthur megys ei frawd hynaf, yn meddu pob peth.

16. Os oedd corff ysbrydol yr Iesu, a chyrff ysbrydol pawb dynion, yn bodoli cyn sylfaeniad y byd, megys ag yr ydym wedi dangos yn eglur, a oes rhywbeth yn afresymol yn y drychfeddwl o gyn-fodoldeb cyrff ysbrydol yr holl greaduriaid anifeilaidd? Nac oes. Gall un dosparth o ysbrydoedd fodoli cyn myned i mewn i'w cyrff naturiol, yn gystal â'r llall. Ai nid yr un Duw ag a wnaeth ysbrydoedd dynion, a wnaeth ysbrydoedd anifeiliaid hefyd? Dywed Job, "Gofyn yn awr i'r anifeiliaid, a hwy a'th ddysgant, ac i ehediaid yr awyr, a hwy a fynegant i ti: neu dywed wrth y ddaear, a hi a'th ddysg; a physgod y môr a hysbysant i ti. Pwy ni ŵyr yn y rhai hyn oll, mai llaw yr Arglwydd a wnaeth hyn? YR HWN Y MAE EINIOES POB PETH YN EI LAW,"—Job xii, 7—10. Yn y dyfyniad hwn, gwelwn fod "einioes pob peth" yn llaw yr Arglwydd: Efe yw Gwneuthurwr a Cheidwad eneidiau anifeiliaid, ehediaid, a physgod, yn gystal

ag eneidiau dynion: o herwydd hyny, dywed Moses, pan yn gweddio ar yr Arglwydd: "Gosoded yr Arglwydd, Duw YSBRYDION POB CNAWD, un ar y gynnulleidfa,"—Num. xxvii, 16. Felly gwelwn mai yr Arglwydd, nid yn unig yw Duw ysbrydoedd dynion, eithr mai Efe yw "Duw ysbrydoedd pob cnawd."

17. Fod ysbrydoedd pob llysiau ac anifeiliaid wedi eu gwneyd o flaen eu cyrff, sydd eglur oddiwrth hanes y cread fel ei hadroddir yn y bennod gyntaf a'r ail o Genesis. Yn y bennod gyntaf, yr ydym yn cael hanes creadigaeth llysiau, pysgod, ehediaid, anifeiliaid, a dyn. Yn yr ail bennod, hysbysir nad oedd, ar y seithfed dydd, "ddyn i lafurio y ddaear," ac yna rhoddir desgrifiad o luniad ei gorff naturiol "allan o bridd y ddaear." Yn y bennod gyntaf, ac yn ystod y trydydd dydd, mae y llysiau a'r coed yn cael eu llunio; yn yr ail bennod, ac ar y seithfed dydd, hysbysir ni i'r Arglwydd greu "pob planigyn y maes cyn ei fod yn y ddaear, a phob llysieuyn y maes cyn tarddu allan;" ac yna hysbysir ni i'r Arglwydd, ar y seithfed dydd, blanu gardd, hyny yw, gosod y preniau a'r llysiau ag oedd efe wedi eu creu ar y trydydd dydd, ac achosi iddynt "dyfu allan o'r ddaear." Yn y bennod gyntaf, dywedir i'r pysgod, ehediaid, a'r anifeiliaid gael eu creu ar y pummed a'r chwechfed dydd; yn yr ail bennod, mae y creaduriaid amrywiol hyn yn cael eu creu "allan o'r ddaear" ar y seithfed dydd, ac yn cael eu "dwyn at Adda, i weled pa enw a roddai efe iddynt hwy." Yr ydym yn dysgu oddiwrth hyn, i gyrff anifeiliaid gael eu gwneyd ar ol corff naturiol dyn. Yn ngwaith y greadigaeth dymmorol, ymddengys mai dyn oedd y cnawd cyntaf ar y ddaear, gan fod ei gorff naturiol wedi ei wneyd cyn i'r llysiau a'r preniau gael eu planu a thyfu allan o'r ddaear. Efe a osodwyd yn ngardd Eden, cyn i'r Arglwydd greu yr anifeiliaid a'r ehediaid, hyny yw, eu cyrff naturiol, a'u dwyn ato er mwyn iddo eu henwi. Mae y bennod gyntaf yn rhoddi hanes o greadigaeth pob peth yn ysbrydol; mae yr ail bennod yn rhoddi hanes o greadigaeth pob peth yn dymmorol. Yn nhrefn amser, ac yn nilyniad dygwyddiadau, mae creadigaeth ysbrydol y nefoedd a'r ddaear, a phob peth ynddynt, yn gwahaniaethu oddiwrth greadigaeth dymmorol yr unrhyw. Gwnai tybied nad yw y ddwy bennod hyn ond yn unig yn rhoddi hanes y greadigaeth naturiol, ein gosod mewn anhawsderau aml, pan yr ymdrechwn gyssoni y desgrifiad a roddir yn yr ail bennod â'r

hwn a roddir yn y gyntaf. Eithr wrth eu derbyn fel desgrifiadau o ddwy greadigaeth ddilynol, y cyntaf yn ysbrydol (fel yn ddiau yr oedd), a'r ail yn dymmorol, y mae pob anhawsderau ac anghydfod yn y ddau ddesgrifiad gwahanol, yn diflanu ymaith, a ffrydlif o oleuni yn ymdori ar y meddwl.

18. JOSEPH SMITH, Prophwyd mawr yr oruchwyliaeth ddiweddaf, wedi ei orchymyn gan Dduw i gyfieithu y Beibl trwy ysbrydoliad yr Ysbryd Glân, a ddechreuodd y gwaith mawr yn mis Mehefin, 1830. Yn y cyfieithad ysbrydoledig hwn, mae y gwahaniaeth rhwng y greadigaeth ysbrydol a thymmorol yn cael ei eglur ddangos. Ar ol desgrifio y chwech dydd o waith, Duw a'n hysbysa iddo Ef orphen ei waith ar y seithfed dydd, a gorphwys arno, a'i santeiddio. Yna efe a'n dysga "mai dyma genedlaethau y Nefoedd a'r Ddaear, pan grewyd hwynt, yn y dydd y gwnaethym i, yr Arglwydd Dduw, y nefoedd a'r ddaear, a phob planigyn y maes cyn ei fod yn y ddaear, a phob llysieuyn y maes cyn tarddu allan. Canys myfi, yr Arglwydd Dduw, a greais bob peth, am y rhai y llefarais, yn ysbrydol, cyn iddynt fod yn naturiol ar wyneb y ddaear. A myfi, yr Arglwydd Dduw, oeddwn wedi creu holl blant dynion; ac nid oedd etto ddyn i lafurio y ddaear, canys yn y nefoedd y creais hwynt; ac nid oedd etto gnawd ar y ddaear; nac yn y dwfr, nac yn yr awyr; eithr myfi, yr Arglwydd Dduw, a lefarais, a tharth a esgynodd o'r ddaear, ac a ddwfrhaodd holl wyneb y tir. A myfi, yr Arglwydd Dduw, a luniais Ddyn allan o bridd y ddaear, ac a anadlais yn ei ffroenau ef anadl einioes; a'r Dyn a ddaeth yn enaid byw, y cnawd cyntaf ar y ddaear, y dyn cyntaf hefyd: er hyny, yr oedd pob peth wedi ei greu yn flaenorol, eithr yn ysbrydol y crewyd ac y gwnaethwyd hwynt yn ol fy ngair. A myfi, yr Arglwydd Dduw, a blanais ardd yn Eden o du y dwyrain, ac yno y gosodais y dyn a luniaswn. A myfi, yr Arglwydd Dduw, a wnaethym i dyfu allan o'r ddaear yn naturiol, bob pren dymunol i olwg Dyn; a gallai Dyn ei weled. A hwythau hefyd a ddaethant yn enaid byw. Yr oedd yn ysbrydol yn y dydd y creais ef; canys efe a arosodd yn y cylch yr hwn y darfu i mi, Duw, ei greu ynddo, ie, sef pob peth a barotoais er defnydd Dyn; a gwelodd Dyn ei fod yn dda yn fwyd. A myfi, yr Arglwydd Dduw, a osodais bren y bywyd hefyd yn nghanol yr ardd, ac hefyd bren gwybodaeth da a drwg. * * * Ac o'r ddaear,

myfi, yr Arglwydd Dduw, a luniais holl fwystfilod y maes, a holl ehediaid y nefoedd; a gorchymynais eu dwyn at Adda, i weled pa enw a roddai efe iddynt hwy: ac yr oeddynt hwy hefyd yn eneidiau byw, ac yr oedd wedi ei anadlu ynddynt anadl einioes," —Genesis ii. (Cyfieithad ysbrydoledig, gan Joseph Smith, y Prophwyd). Dysgwn yma i bob llysieuyn ac anifel, yn gystal â dyn, gael eu creu yn gyntaf yn ysbrydol, yn y nef, ac yna eu gwneyd yn naturiol ar y ddaear. Yr oedd dilyniad dygwyddiadau yn y greadigaeth ysbrydol yn wahanol i'r hyn oeddynt yn y greadigaeth naturiol: o herwydd hyn y cyfyd y ddau ddesgrifiad gwahanol.

19. Nef yw y byd lle y cafodd yr holl ysbrydoedd a fwriadwyd i'r greadigaeth hon, eu dechreuad. Mae yn fyd yn cynnwys amrywiaeth mawr o ddefnyddiau cyffelyb eu natur i'r rhai ag sydd yn nghyfansoddiad ein byd ni. Mae y gwahaniaeth rhwng ein byd ni ag un nefol yn gynnwysedig, nid yn amrywiaeth yr elfenau, canys yr un ydynt hwy, eithr yn y gwahaniaeth yn rheoleiddiad yr elfenau hyn. Yn ein byd ni, mae yr elfenau, yn yr amser presennol, wedi eu rheoleiddio yn y fath fodd, fel ag y mae cyfnewidiadau parhaus yn cymmeryd lle, o'r fath natur ag i gynnyrchu marwolaeth neu ymddattodiad pob sylweddau rheoleiddiedig. Mewn byd nefol, mae yr un elfenau yn cael eu cyssylltu yn y fath fodd, fel ag y mae parhad tragywyddol yn cael ei argraffu ar bob rheoleiddiad. Nid yw y sylweddau ysbrydol cyssylltidieg â'n byd ni, wedi eu huno yn barhaus â'r elfenau ereill; tra mewn byd nefol, cyn belled ag y mae y dosparth hyn o elfenau yn cael eu huno, mae eu hundeb yn anfarwol neu dragywyddol. Mae byd nefol wedi bod unwaith yn yr un cyflwr â'n byd ni, eithr y mae ei gorffoliad tymmorol wedi ei ddattod, ac y mae yr un elfenau wedi eu hail-gorffoli yn ol cynllun y drefn nefolaidd: y mae felly yn cael ei gyfnewid o gyflwr tymmorol i un tragywyddol. Yn ei gyflwr tymmorol y mae yn ddaearol; yn ei gyflwr tragywyddol y mae yn nefol. O dan y blaenaf, y mae marwolaeth yn traws-feddiannu llywodraeth, ac yn taenu difrod a dystryw trwy yr holl gorffoliad: o dan yr olaf, y mae bywyd tragywyddol yn teyrnasu yn fuddugoliaethus yn dragywydd. Yn y naill sefyllfa, y mae yn fyd syrthiedig; yn y llall, y mae yn fyd gwaredigol. Yn y sefyllfa gyntaf, y mae yn gorff di-lewyrch, yn benthycia ei oleuni oddiwrth rai o radd

uwch; yn yr ail, y mae yn gorff llewyrchus, yn pelydru ei oleuni ar y bydoedd amgylchynol. Pan yn fyd syrthiedig, preswylir ef gan fodau syrthiedig; pan yn fyd gwaredigol, preswylir ef gan fodau nefol, wedi eu gwaredu o'r bedd, a'u gogoneddu, a'u gwneyd yn gyffelyb i Dduw yr hwn a'u creodd ac a'u gwaredodd, meibion yr Hwn ydynt, ac o hyn allan y maent yn Dduwiau, wedi eu hordeinio i wneuthur y gwaith perthynol i Dduwiau; ac megys y gwnaeth Duw eu Tad o'u blaen, felly y gwnant hwythau. Nef, ynte, yw byd gwaredigol a gogoneddedig, yn cael ei breswylio gan y Duwiau, a chan eu meibion a'u merched, y rhai ydynt ffrwythau eu lwynau eu hunain.

20. Y Duwiau a drigant yn y nef o ba un y daeth ein hysbrydoedd ni, ydynt fodau ag a waredwyd o'r bedd mewn byd a fodolai cyn gosod sylfaeni y ddaear hon. Yr oeddynt hwy a'r corff nefol a breswyliant yn awr, unwaith mewn sefyllfa syrthiedig. Eu byd daearol a waredwyd, a ogoneddwyd, ac a wnaed yn nef: eu cyrff daearol, ar ol dyoddef marwolaeth, a waredwyd, a ogoneddwyd, ac a wnaed yn Dduwiau. Ac felly, megys ag y dyrchafwyd eu byd o sefyllfa dymmorol i un ysbrydol, y dyrchafwyd hwythau hefyd o fod yn ddynion syrthiedig i fod yn Dduwiau nefol, i breswylio eu nef yn oes oesoedd.

21. Mae y Duwiau hyn, wedi eu gwaredu o'r bedd gyda'u gwragedd, yn anfarwol a thragywyddol, ac ni fyddant feirw mwyach. Eithr hwynt hwy a'u gwragedd a fyddant yn odiaeth ddedwydd. Mae yr holl ganlyniadau anwylaidd o gariad priodasol a fodolai yn eu mynwesau pan yn fodau daearol a syrthiedig, yn awr wedi eu mwyhau a'u perffeithio yn fawr, yr hyn a wasanaetha i orlenwi eu heneidiau â theimladau o hyfrydwch perlewygol, a chariad annherfynol tuag at eu gilydd, ac â gorfoledd sydd yn dragywyddol. Mor hyfrydol—mor ddyddorol—mor annesgrifiadwy ddymunol yr ymddangosant yn ngolwg eu gilydd! Yn llawn rhinwedd a daioni, gwybodaeth a dealltwriaeth, serch a chariad—hwy a ymddysclaeriant allan yn holl ddysclaerdeb a gogoniant y priodoliaethau dwyfol hyn, gan ysbrydoli eu gilydd, a'r holl nef, â chyflawnder o lawenydd tragywyddol.

22. Mae yr holl Dduwiau hyn yn gyfartal mewn gallu, mewn gogoniant, mewn llywodraeth, ac mewn meddiant o bob peth; pob un yn meddu cyflawnder o wirionedd, o wybodaeth, o ddoethineb, o oleuni, ac o ddealltwriaeth; pob un yn llywodraethu ei

hun yn mhob peth trwy ei briodoliaethau ei hun, ac yn cael ei lanw â chariad, daioni, trugaredd, a chyfiawnder tuag bawb. Cyflawnder o'r holl briodoliaethau hyn yw yr hyn a gyfansodda Dduw. "Goleuni yw Duw." "Cariad yw Duw." "Gwirionedd yw Duw." Mae y Duwiau yn un yn y rhinweddau a'r priodoliaethau. Nid yw Gwirionedd yn liosogrwydd o wirioneddau o herwydd ei fod yn preswylio mewn lliosogrwydd o bersonau, eithr un gwirionedd anwahanol ydyw. Gelwir pob person yn Dduw, nid o herwydd ei sylwedd, nac ychwaith o herwydd dull a maintioli y sylwedd, eithr o herwydd y rhinweddau a drigant yn y sylwedd. Nid yw personau ond yn unig tabernaclau neu demlau, a GWIRIONEDD yw y Duw sydd yn preswylio ynddynt. Os yw cyflawnder gwirionedd yn preswylio mewn miliynau aneirif o bersonau, yna mae yr un Duw diwahan yn trigo ynddynt oll. Gan y gall gwirionedd breswylio yn yr holl fydoedd ar yr un fynyd, o ganlyniad fe all Duw, yr hwn sydd Wirionedd, fod yn yr holl fydoedd ar yr un fynyd. Nis gall teml o gnawd, ac esgyrn, ac ysbryd anfarwol, ond yn unig fod mewn un lle ar unwaith; ond gwirionedd, yr hwn sydd Dduw, a all drigo mewn rhifedi aneirif o demlau felly ar yr un eiliad. Pan yr ydym ni yn addoli y Tad, nid ydym yn addoli ei berson yn unig, eithr yr ydym yn addoli y gwirionedd sydd yn trigo yn ei berson. Pan yr ydym yn addoli y Mab, nid ydym yn addoli ei gorff yn unig, eithr yr ydym yn addoli gwirionedd, yr hwn sydd yn trigo ynddo. Felly hefyd, pan yr ydym yn addoli yr Ysbryd Glân, nid y sylwedd yr ydym yn addoli yn unig, eithr gwirionedd, yr hwn a breswylia yn y sylwedd hwnw. Tyner gwirionedd ymaith oddi wrth ryw un o'r bodau hyn, ac ni fyddai eu personau neu eu sylwedd yn wrthddrych addoliad. Gwirionedd, goleuni, a chariad, ydym ni yn addoli a mawrhau; yr un yw y rhai hyn yn yr holl fydoedd; a chan mai y rhai hyn sydd yn cyfansoddi Duw, yr un yw Efe yn yr holl fydoedd; ac o herwydd hyny, y mae preswylwyr yr holl fydoedd yn cael eu gofyn i addoli a mawrhau yr un Duw. Oblegid fod Duw yn trigo mewn temlau lawer, yn fynych efe a lefara wrthym ni, megys pe byddai Duwiau lawer; mae hyn yn wir pan wneir cyfeiriad at nifer ei drigfanau; eithr nid yw yn wir, ac nis gall fod yn wir, mewn unrhyw ystyr arall. Am hyny, yn ein holl ddywediadau a'n hymresymiadau dyfodol, bydded iddo gael ei ddeall yn eglur, ein bod yn cyfeirio yn unig

at liosogrwydd o demlau, yn mha rai y mae yr un gwirionedd neu Dduw yn trigo. Ac hefyd, pan fyddom yn llefaru am un Duw yn unig, ac yn dywedyd ei fod ef yn dragywyddol, heb ddechreu neu ddiwedd, a'i fod yn yr holl fydoedd ar yr un eiliad, bydded iddo gael ei gofio yn gwbl, nad ydym yn cyfeirio at unrhyw berson neu sylwedd neillduol, eithr at wirionedd yn trigo mewn amrywiaeth mawr o sylweddau. Pa le bynag y caffoch gyflawnder o ddoethineb, gwybodaeth, gwirionedd, daioni, cariad, a rhinweddau cyffelyb, yno y cewch Dduw yn ei holl ogoniant, gallu, a mawrhydi – gan hyny, os addolwch y perffeithderau addoladwy hyn, chwi a addolwch Dduw.

(*I'w barhau.*)

---

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG.

Y GYMMANFA uchod a gynnaliwyd yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr, ar y 27ain o Fawrth, 1853, o dan lywyddiaeth yr Henuriad D. Jones.

Dechreuwyd am hanner awr wedi deg trwy ganu, a gweddiodd T. Giles. Yna y Llywydd, wedi cynnyg rhai sylwadau, a osododd holl awdurdodau yr Eglwys gerbron y Saint, er eu cymmeradwyo, yr hyn a wnaed yn unfrydol; ac yna treuliwyd gweddill y cyfarfod i ymdrin â materion perthynol i'r Gynnadledd, a therfynwyd trwy weddi gan yr Henuriad D. Spencer.

Am ddau, wedi canu a gweddio, y Llywydd a anerchodd y cyfarfod yn fyr, ac a alwodd yr Henuriad D. Spencer i ddysgu y Saint yn Saesneg, yr hyn a wnaeth fel y canlyn:—"Anwyl gyfeillion, a brodyr a chwiorydd,—Yr wyf yn teimlo yn dda i fod yn eich plith, gan fod eich gwynebau yn siriol, a'ch bod yn ymddangos fel pe byddai genych Ysbryd yr Arglwydd. Gwn fod ein teimladau ni yn wahanol i eiddo pobl ereill, a'n mwynhad hefyd. Mae yr Arglwydd wedi bod yn drugarog iawn wrthym ni, trwy roddi i ni wybodaeth o'r ffordd sydd er ein hachub. Yr ydym yn darllen am ragorfreintiau ei blant yn yr amser gynt, pan yr oeddynt yn cadw ei gyfraith: fe gawn ninnau eu derbyn hefyd, os byddwn yn ufydd. Galwyd ni i fod yn debyg i Paul, sef bod yn bob peth er mwyn yr efengyl. Mae ein galwedigaeth yn wahanol i eiddo neb pobl a ddaeth erioed i'r

ddaear. Dywedai y Prophwyd fod gan Saint y Dyddiau Diweddaf fwy o waith i'w wneuthur nag a wnaed gan neb ereill. Fe gadwodd Duw ei blant mewn caethiwed gynt dros bedwar cant o flynyddoedd, er eu parotoi i fod yn freninoedd ac offeiriaid. Efe a wnaeth wyrthiau nerthol yn eu mysg; a phan yr oeddynt yn cael eu cyflawni, yr oeddynt yn foddlawn i ufyddhau i Moses; a thra yn ufyddhau i Moses, hwy a gawsent addewid o'r wlad. Eithr fe ddarfyddodd y gwyrthiau nerthol, ac yna hwy a ddechreuasant fod yn anfoddlawn ar eu dull o fyw, ac a feddyliasant nad oedd Moses yn fwy nâ dyn: ond ar fynydd Sinai, yr Arglwydd a roddodd wybodaeth amgen iddynt. Er hyny, hwy a ammheusant awdurdod Moses drachefn, ac a wrthryfelasant, yn ngwyneb yr holl wyrthiau a gawsent yn flaenorol; a hwy a wnaethant lo aur, ac a gawsant ddyoddef am hyny. Cafodd Corah, Dathan, ac Abiram hefyd eu llyncu gan y ddaear. Ni oddefai yr Arglwydd iddynt hwy wrthwynebu a grwgnach yn erbyn eu blaenoriaid; ac o herwydd eu grwgnachrwydd a'u hachwynion, ni aeth ond dau o honynt i wlad yr addewid. Nid ydym ni wedi ein galw trwy ryw wyrthiau nerthol; eithr fe ddywedodd Daniel fod yn rhaid i'r deyrnas hon orchfygu pob un arall. Nid yw yr efengyl yn argyhoeddi trwy wyrthiau, eithr trwy egwyddorion; ac fe wna yr Arglwydd ni yn bobl mwy galluog nâ neb pobl a fu erioed yn y byd. Fe addawyd i mi, os cymmerwn fy medyddio, a chael gosodiad dwylaw arnaf, y derbyniwn yr Ysbryd Glân; mi a ufyddheais ac a dderbyniais yr addewid; mi a fedrwn brophwydo a llefaru mewn tafodau. Mae addewidion ereill etto, ac y mae genyf finnau bethau ereill i'w gwneuthur, sef gwneuthur i ereill fel y dymunwn i ereill wneuthur i minnau, a darostwng fy holl nwydau i ewyllys fy Nhad o'r nef; ac os bydd i mi eu darostwng, ac ufyddhau i gyfraith Duw, fe'm gwneir yn gyd-etifedd â Christ; ac os felly, mi a ddeuaf yn Dduw. Mae yr addewid hon i chwithau, ac i bawb, ar yr ammodau hyn. Ni ofynwyd dim ar fy llaw i a'r nad allwn ei wneuthur. Teimlwyf y gallwn aberthu tad, mam, gwraig, a phlant, ac hyd y nod fy mywyd fy hun, er mwyn yr efengyl hon, am gael fy ngwneyd yn gyd-etifedd â Christ. Dichon y gallwn gael aros 50 neu 100 mlynedd am fy ngwraig neu fy mhlant, canys y maent yn cael eu haddaw i ni etto: a pha beth yw aros dros gymmaint â hyny, mewn cymhariaeth i fod

hebddynt i bob tragywyddoldeb. A all dyn aros o'r gwanwyn hyd yr hydref, pan y mae yn hau un bwshel o wenith, ac yn dysgwyl medi hanner cant? Mae y byd yn gwneyd hyny. Yr ydym ni yn ymbarotoi gogyfer â sefyllfa arall o fodoliaeth, ac yn awr yw ein hamser ni i hau ac aberthu erbyn hyny. Fel ag y sylwais, pe cawswn i aros can mlynedd am fy ngwraig neu fy mhlant, pa beth yw hyny? Yr ydym yn awr ar brawf, a pha fodd y teimlwn i aberthu ein chwantau a'n nwydau naturiol? Fe ddywedir y deuwn i garu yr hyn a fuom unwaith yn gasâu, a chasâu yr hyn a fuom unwaith yn garu. Teimlwyf yn awr yn falch o'r enw Saint y Dyddiau Diweddaf, eithr teimlais fel arall unwaith. Dywed Duw y rhydd efe râs i chwi, os ydych yn myned i aberthu eich gwraig, eich plant, eich tai, neu eich meddiannau. Efe a roddodd râs i Abraham; ac o herwydd ei ufydd-dod, efe a gafodd addewid o hâd mor aml â'r tywod ar làn y môr; canys yr oedd efe yn credu fod Duw yn gyfiawn. Mae rhai o honoch chwi yn Nghymru yma yn hytrach yn ddi-ymddiried yn eich llywyddion, fel yr oedd Israel tuag at Moses. Eich gwendid chwi yw hyny; eithr dywedaf wrthych am beidio ofni. Mae pob peth a ddywedant hwy yn cael ei ysgrifenu, a hwy a gant ateb drosto etto. Pe buasai Israel yn ufydd i Moses, hwy a gawsent eu bendithio, pe buasai Moses yn dygwydd bod yn feius. Mae yr Arglwydd yn gwneyd i dda ddyfod allan o ddrwg. Yr ydych chwi wedi dyfod allan o fyd drwg-dybus ac aflywodraethus, ac o ganol swyddogion llygredig, ac o ganlyniad y mae yn naturiol i chwi fod fel yr ydych. Ni a ddylem gredu, os bydd i ni aberthu cant punt, y gwna ein Tad nefol roddi yn ol y càn cymmaint: eithr os credwn, fel Israel, fod pethau yn feius, ac anufyddhau, nyni a dorir allan. Etto y mae yn bosibl i bethau cyfeiliornus gael eu dysgu, eithr ein gwaith ni yw ufyddhau hyd nes y symudo yr Arglwydd y llywydd a'i gwnelo o'i le. Darfu i Saul weithredu yn feius, ond ni wnaeth yr Arglwydd ei symud yn uniongyrchol; gwnaeth Dafydd ei anrhydeddu yn ei swydd; a phan welodd yr Arglwydd yn dda, cafodd Saul ei symud o'i le. Ni wnaeth yr Arglwydd ganiatâu i ddyn mor dda â Moses fyned i wlad yr addewid, oblegid iddo wneuthur rhyw bethau yn feius. Felly, gwelwch fod Duw â'i lygaid ar eich blaenoriaid, ac efe a weinydda gyfiawnder i bob dyn, nad pa mor fawr bynag y bo. Y mae genych chwi yma yn Nghymru ddynion da yn

llywyddion arnoch, y rhai y mae bendithion Duw yn gorphwys arnynt; a chwi a fendithir trwy ufyddhau iddynt. Yna bydd raid i chwi fyned i Seion i gael eich golchiadau, eneinniadau, &c., er eich paroto i gyflawni gwaith mawr a rhyfedd; a'r Arglwydd a rydd i chwi y bendithion a seliwyd ar eich penau. Am hyny, teimlwch yn dda, os bydd raid i chwi aberthu, a meddyliwch am y bendithion mawr ac anmhrisiadwy sydd i ddyfod i'ch rhan; a boed i chwi ddyfod yn freninoedd ac offeiriaid, a chael mwynhau yr holl fendithion a berthynant i'w deyrnas.

Yr Henuriad John Davis—Anwyl frodyr, mae yn llawen genyf eich cyfarfod heddyw etto. Gwelaf eich bod yn gyffredinol yn edrych yn llawer gwell, a gobeithiaf yr edrychwch yn well etto. Ymddengys eich bod yn mwynhau Ysbryd yr Arglwydd, ac am wneuthur penderfyniad o'r newydd. Mae llawer o honoch wedi taflu beichiau trymion i lawr, ac y mae eich golwg yn llawer rhagorach. Mi a wn am yr hyn sydd yn llethu dyn, a'i dristâu a'i gaethiwo; ond pa fwyaf sydd yn dyfod i'm herbyn i, mwyaf i gyd yw fy mhenderfyniad a'm cadernid, canys mi a wn y cydweithia yr oll er daioni. Anfynych iawn y ceir yr hen fyd yma yn llyfn. Yr ydym fel pe bydd m ar fôr, yn cael tywydd teg weithiau, a prydiau ereill y fath ystormydd nes y gallwn feddwl fod ein llong eglwysig ar suddo i'r eigion. Ond gadewch i ni fod yn debyg i fachgen y cadben hwnw, i allu bod yn dawel a dweyd y gwyddom fod ein "Tad wrth y llyw," ac y deuwn oll maes o law yn ddiangol i'r porthladd. Os bu rhyw anghyfiawnder yn cael ei arferyd ar y fordaith, mae yn sicr y derbynia y sawl a'i gweinyddodd ei gyflawn gosp, ac y derbynia y rhai a ddyoddefasant yn amyneddgar eu gwobr fawr. Fe ddysclaeria cyfiawnder yr eglwys hon cyn hir yn ogoneddus, ac ni fydd neb na chaiff ei weled. Na fydded i ni, ynte, ddysgwyl perffeithrwydd etto, canys amser aberthu yw hwn; ond gadawn y cyfan hyd yr amser y daw pob peth i'r golwg. Teimlwch i godi y gwan, ac iachâu y rhai clwyfus; a gweddiwch dros eich llywyddion, ac yna yr Arglwydd a ddyhidla fendithion arnoch. Fe fydd yr anhawsderau a gwrddasom yn llesol i ni, canys fe burir yr eglwys o ddrygioni. Teimlwch, ynte, i weddio hyd nes na fyddo un oerfelgarwch o'ch mewn—hyd nes y byddo ysbryd Seion ynoch; ac nac ail gyfodwch ddim sydd wedi myned heibio, ond claddwch y cyfan, ac na edrychwch yn waeth ar neb, canys brodyr ydym i gyd. Gwedd-

iwch dros Lywyddiaeth yr Eglwys yn Nghymru, gwnewch les i ni ein trioedd; ac wrth ein llesoli ni, byddwch yn llesoli eich hunain. Cynnaliwch ni i fyny megys un, a Duw a'n bendithia ac a'n llwydda, hyd nes na allo neb ein hattal. Am hyny, byddwn gewri dewrion gyda y gwaith hwn, ac yna daw y rhai llesg yn mlaen; ac os cewch fai yn rhywun, hysbyswch ef iddo. Ymddiriedwch bob amser yn llywyddiaeth yr Eglwys. Bendith yr Arglwydd fyddo arnoch, a theimlo wneloch i weddio o galon; ac yna cewch weled fel y cynnydda cariad yn eich plith, a theimladau gwresog. Yr ydych yn awr yn adwaen y ddwy ochr, yr arw a'r lyfn; a gwyddoch werth cydwybod dawel ac heddychlawn. Chwi wyddoch hefyd y gall dyn wneyd nef iddo ei hun, trwy wylio a gweddio, hyd y nod yn yr ystorom arwaf. Yr Arglwydd a roddo ei Ysbryd i chwi oll i deimlo yn gysurus a phenderfynol, yn enw Iesu Grist. Amen.

Yna canwyd, "Pan ddelo'r Saint oll adreu 'nghyd."

Y Llywydd D. Jones—Yr wyf yn meddwl eich bod yn teimlo yn well o hyd; yr wyf fi, beth bynag. Mwyaf i gyd a ddeallwn o egwyddorion teyrnas Dduw, goreu i gyd y teimlwn. Pan feddylioch na fydd eich llywyddion yn eich boddloni, gweddiwch drostynt, fel yr annogwyd chwi gan y brawd Davis, hyd nes y byddant yn eich boddloni. Os gweddiwch drostynt, nis gallant eich niweidio; canys nid ydynt hwy yn amgen nâ phibellau er i chwi dderbyn trwyddynt.

Y Llywydd W. S. Phillips—Yr wyf finnau, fel fy mrodyr, yn teimlo eich bod yn dyfod i deimladau gwell o hyd. Yr oedd Ysbryd Duw yn helaeth yma yn y boreu, ond y mae mwy o hono yma yn awr o lawer. Yr ydym ni fel enwad o Saint y Dyddiau Diweddaf wedi achosi llawer o siarad ac amryson yn y byd, ond ddim cymmaint erioed ag a wnaethom achosi yn ddiweddar. Os teimlwn i ufyddhau a meddu Ysbryd Duw yn helaeth, gallwn roi testunau newydd iddynt etto; canys mae yn rhaid i'r byd gael rhywbeth o hyd. Wel, bydded i'r holl frodyr a'r chwiorydd sydd yma heddyw feddiannu ysbryd y bywyd, a myned i blith y byd, a phregethu iddynt, ac ymdrechu eu bedyddio. Bum yn Nghaerdyf yn ddiweddar, ac yr oedd yno ysbryd bedyddio, a'r Saint yn llawn awydd a llawenydd, ac yr oedd rhai yn cael eu bedyddio y pryd hyny. Yr ydym am i chwi gredu fod pob peth yn iawn goruwch i chwi, a bod eich llywyddion yn un mewn

cariad. Ac mi a lefaraf air neu ddau wrthych ynghylch y Llywydd Dan Jones. Os oes rhai o honoch wedi dychymmygu a dweyd rhywbeth yn ddrwg am ei gymmeriad, neu os oes rhywbeth felly wedi ei ysgrifenu ar eich cof-lyfrau yn rhywle, mi a ddymunaf arnoch ei groesi allan y cyfleu cyntaf; canys mae yr hyn a draethodd rhai am dano, yn anwireddus a disail, fel y clywsoch gan yr awdurdodau fu yma yn ddiweddar. Clywsoch fod ei gymmeriad yn dda yn Seion; ac am hyny, dadwnewch yr oll a draethwyd yn ddisail am dano, a rhwystrwch bawb rhag traethu dim yn mhellach. Yr ydym ni ein trioedd yn un yn awr; ac fe ŵyr y diafol, os byddwn ni ein trioedd mewn undeb, na ellir rhwystro gwaith Duw i fyned yn mlaen. Bydded i bawb a feddant deimladau ymranu, yru y teimladau hyny ymaith, a gweddio drosom. Frodyr a chwiorydd, yr ydym yn deisyf eich cynnorthwy, a gweddiwch drosom; a bydded i ni o hyn allan newid y testun, a gorfoleddu yn iachawdwriaeth ein Duw, gan gyhoeddi heddwch a thangnefedd yn mhlith y Saint: a'r bendithion hyn a'ch canlyno, trwy Iesu Grist. Amen.

Y Llywydd D. Jones—Bydd i ni deimlo yn hyfryd, os gweddiwn dros bawb; ac yr ydym wedi profi hyn eisoes; ac na ddyweded neb nas gŵyr y ffordd i gael teimladau da. Mae rhai dychymmygion yn bodoli ynghylch pa beth a wneir o arian y Degwm yn Seion. Mae pawb yno yn cael talu degwm, o Brigham Young i waered. Beth, meddech, Brigham Young a'i gydswyddwyr yn talu degwm! yr oeddem ni yn meddwl fod Brigham Young a hwythau yn byw ar y degwm, a'u bod trwy hyny yn gallu marchogaeth yn eu cerbydau, &c. Mi wn i fod Brigham Young yn cynnal ei hun a'i deulu, trwy ei fasgnach a'i fferm, &c.; ac y mae efe mor barod i'w dalu â neb, a'i gynghorwyr hefyd; ac nid oes neb ychwaith o'r llywyddion ereill sydd yn Nyffryn y Mynyddoedd yn byw arno. Mae y degwm yn myned i adeiladu teyrnas Dduw; mae llawer o sefydliadau newyddion i'w hadeiladu, fel y gwyddoch. Yr ydych chwi wedi danfon arian oddiyma er adeiladu Teml i'r Arglwydd, lle y cewch fyned i gael eich haddysgu er myned i bresennoldeb Duw, lle y cewch briodi am bob tragywyddoldeb, a derbyn bendithion mawrion ac annesgrifiadwy. Wrth feddwl am hyn, mae eich calonau yn gwresogi o'ch mewn, ac yr ydych yn ymlawenhau am i chwi gael y fraint o gyfranu tuag ati. Bydd yn cael ei dechreu cyn pen

nemawr o ddyddiau; ac O, mor fawr yw ein llawenydd wrth feddwl fod genym ni ran yno, a bod genym etifeddiaeth yno. Wel, mae y fraint genych eleni etto i gyfranu, fel y gwnaethoch y llynedd.—Mae y cwestiwn wedi ei ofyn, sef beth a wneir o'r rhai a ymfudir gan y Drysorfa Ymfudol? a oes rhaid iddynt dalu yn ol wedi myned yno? a pha beth os byddant yn rhy dlawd i hyny? Mae eisieu i rywun agor y galon fach yna. Bum i yno am yspaid tair blynedd, ac ni welais un yn anghenog yno. Gweision Duw sydd yn llywodraethu yno, ac ni chaiff un o'r Saint fod ag eisieu arno. Fe ddywed Brigham Young, "Ewch i gyfarfod â hwynt, a derbyniwch hwynt yn llawen; ewch â hwy i'ch tai, a gollyngwch hwynt i'ch gerddi; ac os gofynant beth yw'r pris, na chymmerwch arnoch eu clywed." Felly, mae pob peth yn Seion yn cael ei ddwyn yn mlaen yn y ffordd oreu.

Yna canwyd, "Nyni yw'r bobl ddewraf sydd," a therfynwyd trwy weddi gan J. Roberts.

Am chwech, dechreuwyd trwy ganu a gweddio gan yr Henuriad Robert Evans. Canwyd.

Y Llywydd D. Jones—Anwyl frodyr, chwiorydd, a chyfeillion, wrth weled cymmaint o honoch wedi dyfod ynghyd, ymddangosa i mi mai er gwybod y ffordd i gael bywyd tragywyddol y daethoch yma; ond cyn y meddiannwch hyny, y mae y peth cyntaf sydd genych i'w wneuthur yn beth pwysig, ac y mae yr ail yr un mor bwysig, a'r trydydd, a'r pedwarydd; a thyna yw gofyniad y Sant yn barhaus, ar ol iddo orphen gwneuthur un peth, Beth sydd genyf etto i wneyd? Bydd digon genym i wneuthur, a llawer o wersi genym i'w dysgu yn barhaus; y mae yn rhaid i ni barhau yn ffyddlawn hyd y diwedd, os mynwn fod yn gadwedig. O! mor druenus fydd cyflwr yr hwn a redo ychydig, ac a ddyoddefa ei hun i gael ei rwystro, neu a feddylia ei fod ef yn gwybod digon, ac nad oes anghen am neb i'w arwain, ac o ganlyniad yn arwain ei hun, ac yn y diwedd yn myned i ddinystr. Mae genym ni, y Saint, ddigon i ddysgu yn barhaus, er deall y ffordd i redeg yr yrfa hon yn gywir, gan wybod os parhawn hyd y diwedd, y cawn goronau annifanedig yn nheyrnas ein Duw. Mae yn anghenrheidiol i ni gael ein harwain o hyd, o herwydd nas gallwn arwain ein hunain; ac y mae i ni fwyd i gael yn ei bryd a'i dymmor, ac y mae arnom eisieu mwy-fwy o hono o hyd; ac os arweinir a phorthir ni yn iawn, rhaid i ni gael Ysbryd Duw i'n harwain, a'i weision i'n porthi; ac i'r dyben hyn, bydded i ni weddio drostynt yn y cyfarfod hwn, fel y caffom ein llesoli, ac yr ymadawom dan fendith y nefoedd, yr hon a'n canlyna yn yr hyn oll a wnelom. Rhoddaf le yn awr i'm brodyr yma i'ch dysgu yn egwyddorion y drefn ardderchog hon, trwy ba un y mae holl ddynolryw i gael eu hachub. Mor hyfryd y teimlem, pe caem ni ein cyd-ddynion i ddyfod i listio dan faner yr Iesu, a milwrio yn ddewr dros ei deyrnas, fel y gallont gael eu hachub, o herwydd hon yw yr unig ffordd trwy ba un y cânt eu hachub; ac yr wyf fi yn diolch i Dduw am yr efengyl hon, ac yn ei phrisio

yn fwy ei gwerth nâ holl drysorau gwerthfawr y byd. Yr Arglwydd a'ch bendithio i barhau yn ffyddlawn gyda hi, yw'm dymuniad a'm gweddi, yn enw Iesu Grist. Amen.

Yr Henuriad Robert Evans—Anwyl frodyr a chwiorydd, yr wyf yn dymuno rhan yn eich gweddiau, fel y gallwyf ymwneyd ychydig â'r gofyniad pwysig a ofynwyd, sef, Beth sydd i wneyd er bod yn gadwedig? Gwn mai eglwys Iesu Grist yw yr eglwys hon, a thrwy barhau yn ffyddlawn trwy bob profedigaeth, y cawn fywyd tragywyddol. Rhoddodd Crist esiampl i ni i'w ddilyn; parhaodd ef yn ffyddlawn hyd angeu, a bwnw yn angeu dirmygedig a phoenus dros ei gyfeillion. Nid parhau yn ffyddlawn gyda rhywbeth sydd raid, ond gyda chrefydd Crist, sef crefydd y Saint, â'r hon yr ymunais i yn uniongyrchol, wrth weled ei hardderchogrwydd a'i rhagoroldeb ar bob crefydd arall; a pheidiais a pharhau yn ffyddlawn gyda'r grefydd oedd genyf o'r blaen, o herwydd egwyddorion rhagorol yr eglwys hon, a'r bendithion mawr ac annesgrifiadwy sydd i'w mwynhau ynddi. Dyma yr efengyl oedd yn cael ei phregethu gan ddyscyblion Iesu yn yr amser gynt, a chyfrifid pawb ag oedd yn ymuno â hwy, yn blant i Dduw; ond estroniaid oedd pawb ereill; ac y mae eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf yr un fath â hono yn mhob rhan o honi; ac nid rhyw ddarnau o hono sydd genym ni, ond y mae yr holl fendithion, a'r breintiau, a'r doniau, a'r swyddogion, a'r gallu yn ein heglwys, yr un mor gyflawn ag yr oeddynt yn yr eglwys gynt; ond, er mor ardderchog yw ei hegwyddorion, er mor ddwyfol ei gosodiad, ac er cymmaint y gallu sydd ynddi, anmhosibl yw i neb gael ei achub heb barhau yn ffyddlawn ynddi hyd y diwedd, trwy yr holl groesau a'r profedigaethau a geir o'i herwydd hi; a'r neb na pharhao, a fyddant debyg i'r morwynion ffol, a'r gwas a guddiodd ei dalent yn y ddaear; am hyny, os ydych yn meddwl ymuno â hon, gyfeillion, os ydych am barhau yn y blaen yn ffyddlawn gyda hi, Saint, ystyriwch yn mlaen llaw, gwnewch fel dyn yn myned i adeiladu tŷ, ac yn bwrw y draul yn gyntaf; treiwch eich penderfyniad cyn ymuno â hon, cyn yr ewch gam yn mlaen ynddi; o herwydd y mae hi yn gofyn dyn yn gyfangwbl at ei gwasanaeth; ac nid yw hon yn grefydd a all dynion ei gwella, ond yn grefydd a wella ddynion. Pan y mae dyn yn gwella ei grefydd, ymddangosa ei fod ef yn well nâ'i grefydd; yna annhebyg iawn yw hono i fod yn grefydd Crist. Na chymmerwch fuchedd ddrwg ryw un, neu ryw rai ynddi, yn rwystr i chwi ymuno â hi, ond deuwch i fewn iddi, a dywedwch fai y brawd hyny wrtho mewn cariad, gan ewyllysio daioni iddo. Yr wyf yn gwybod fod cyfiawnder yn cartrefu yn yr eglwys hon, ac y gweinyddir ef i bawb. Nid yw yr eglwys hon heb rai dynion drwg ynddi, o herwydd cyffelyb yw i rwyd a fwriwyd i'r môr, yn dal pob math o bysgod. Mae yn debyg hefyd i dŷ gwr cyfoethog, sydd â gwahanol lestri, at barch ac anmharch ynddo, at wahanol ddybenion; mae yno lestri heirdd ar y crogfyrddau, ac y mae yno flwch-lludw hefyd at gario budreddi, ac

nid yw hwnw yn cael ei gadw yn y parlwr, ond yn ochr y domen, bid siwr; felly y mae gyda dynion yn yr eglwys hon, os cymmerant feiau ereill i fod yn rhwystr iddynt ddyfod yn mlaen yn hwylus yn yr eglwys hon, gan ddweyd am hwn, ac am y llall, llestri yn cario budreddi a fyddant, ac ochr y domen fydd eu lle. Mae ereill, ar ol cael talentau, yn debyg i'r hwn a guddiodd ei dalent yn y ddaear; efallai y bydd gan ryw un swydd henuriad, ac y bydd yn dychwelyd yn ol, ar ol bod allan yn pregethu, gan ddweyd, "Mae yn well genyf fod yn aelod; gadewch i mi fod, os gwelwch yn dda." Beth yw y mater arnoch? "Gormod o erlid!" A wnewch chwi felly ag ef? Na wnewch, ond rhwymwch ef draed a dwylaw, a theflwch ef i'r tywyllwch eithaf. O'r ochr arall, pan fyddo'r diacon bach wedi bod yn ffyddlawn gyda'r ychydig oedd ganddo, dacw ei feistr yn dychwelyd yn ol, ac yn ei wobrwyo, er mai ychydig oedd ganddo. Ai gwobr fach oedd hi, ynte? O, nage, "Ti a fuost ffyddlawn ar ychydig, a mi a'th osodaf ar lawer." Dyma y fath drefn ardderchog yw hon. Duw a'n bendithio i barhau yn ffyddlawn gyda hi, er mwyn Crist. Amen.

Canwyd, "Yn gyntaf ceisiwch deyrnas Duw."

(*I'w barhau.*)

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

PE gallai dyn gael hanner ei ddymuniadau, efe a ddyblai ei drafferthion.

YMDDYDDAN RHWNG CLOCHYDD A SANT.—Clochydd—Dywed, fachgen, a ydych chwi yn credu mewn Aml-wreigiaeth? Sant—Ydym, siwr. Clochydd—*Dear* anwyl, bobl felldigedig! Sant—Wel, paham yr ydych chwi yn rhyfeddu, a chwithau yn ei gredu eich hun? Clochydd—Pa beth, y fi yn ei gredu, fachgen! Sant—Ië; onid ydych yn darllen bob Sul yn yr Eglwys, mai "megys yr oedd yn y dechreu, y mae yr awr hon, ac y bydd yn wastad." Clochydd—*Dear me*! pwy na weddiai am i felldith yr Hollalluog ddyfod arnoch i gyd.—*G. Roberts.*

---

TALIADAU o EBRILL 8 HYD EBRILL 14.—Sir Fynwy, £5; Sir Frycheiniog, £3 0s 8c; Sir Fon (gan J. W.), 11s 1c; Sir Ddinbych, £2; Pontytypridd, 12s 6c; Aberamman, 9s; Dowlais, £1 10s 5c; Georgetown, 5s 2c; Ffynnon-Tydfil, 3s 7c; Llanfabon, 6s 6c.—Cyfanswm, £13 18s 11c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 17.] EBRILL 23, 1853. [CYF. V.

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 237.]

Os yw y Cenedloedd yn ystyried Priodas Batriarchaidd yn "*frycheuyn*" ag sydd wedi myned i lygaid y Saint, bydded iddynt hwy, cyn yr anturiant ei dynu allan, i ryddhau y trawstiau mawrion sydd yn eu llygaid eu hunain; ac yna hwy a ddysgant fod yr hyn a dybient hwy yn frycheuyn, mewn gwirionedd yn sefydliad dwyfol, yr hwn yr ymarferyd ag ef gan y dynion santeiddiaf erioed a fuont byw yn yr amseroedd gynt, dan nawdd a chymmeradwyaeth yr Hollalluog.

Mae traddodiad yn achosi i bersonau a chenedloedd "*hidlo gwybedyn, a llyncu camel.*" Gwaeddant allan megys pe byddent yn cael eu dychrynu allan o'u synwyrau, o herwydd fod tiriogaeth yn ymarfer â phriodas gyfreithlawn yn ol y cynllun a roddwyd o'u blaen yn yr Ysgrythyrau; eithr gallant lyncu yn lled rwydd, heb braidd roddi ochenaid, garthfeydd halogedig, truenus, a ffieiddiaf drygioni, ag ydynt yn ffynu i raddau dychrynllyd yn yr holl drefi mawrion, dinasoedd, a phorthladdoedd, yn mhlith y Cenedloedd. Gwnai un ffau o halogrwydd felly, yn yr amseroedd gynt, dynu i lawr farnedigaethau trymaf yr Hollalluog ar holl genedl Israel, hyd nes y symudent y drwg, wreiddyn a changen, allan o'u mysg. Ië, hyd y nod am un achos o odineb, fe gafodd braidd holl lwyth Benjamin eu dinystrio, a hyny hefyd trwy orchymyn Duw. (Gwel Barnwyr xix, xx, xxi). Ond yn awr, gellir cael degau o filoedd o buteiniaid cyhoeddus mewn un

ddinas fel New York, a phedwar ugain a deg o filoedd mewn un arall fel Llundain, ac etto mae yr Unol Daleithiau a Lloegr yn galw eu hunain yn genedloedd Cristionogol, ac yn cymmeryd arnynt i addoli Duw pan y mae yr holl ffieidd-dra dan eu sylw. A yw y cenedloedd yn cael eu cyfiawnhau ag ydynt yn goddef y fath ddrygioni mawr yn eu mysg? Nac ydynt yn ddiau.

A all rhywun dybied fod Duw wedi cyfnewid fel nad edrycha ar ymarferiadau godinebus ac anrhinweddol yn awr gyda'r un gradd o atgasrwydd ag a wnai gynt? Os am un pechod o'r desgrifiad hwn, y cafodd pum mil ar hugain o'r Benjaminiaid, ynghyd â'u gwragedd a'u plant bychain, eu dinystrio trwy orchymyn Duw, pa beth raid fod y digter llidiog a'r barnedigaethau enbyd a drysorwyd yn erbyn y byd crefyddol yn bresennol, y rhai ydynt wedi caniatâu i'r ffieidd-dra hwn ffynu yn eu mysg, nid mewn ychydig o achosion unigol ar y fynyd, eithr mewn cannoedd o filoedd o achosion, lle y mae puteiniaid cyhoeddus, yn heidio allan o'u ffauau angeuol ac uffernol, fel cynnifer o seirff gwenwynllyd, wedi llygru cenedloedd a chenedlaethau am ganrifoedd ac am oesau?

Bydded i'r genedl hon ddileu y drygau hyn o'u mysg; bydded iddynt wneyd cyfreithiau caeth er amddiffyn rhinwedd y wlad; gosoder y cospedigaethau trymaf ar buteiniaid cyhoeddus, ac ar bawb a fyddo yn cefnogi y cyfryw, drwy hyfforddiad neu trwy esiampl; bydded i'r offeiriaid a'r bobl, y llywodraethwyr a'r rhai a lywodraethir, ymwisgo mewn sach-lian ac wylo gerbron yr Arglwydd oblegid pechodau y genedl, y rhai ydynt wedi cyrhaedd y nefoedd ac yn uchel waeddi am ddial; bydded iddynt lanhau y tir, a dileu allan o fodoliaeth y ffieidd-derau enaid-ddinystriol hyn: yna bydded iddynt ddysgu rhinwedd i Utah, a'u haddysg a wrandewir, a'u cynghorion a dderbynir; yna y creda meibion a merched dewr-galon y Diriogaeth Fynyddig fod etto rinwedd wedi ei adael yn y tir; ac yna y genedl a ga ffafr yn ngolwg y Nefoedd, ac a gyfyd mewn nerth, mewn gallu, ac mewn mawrhydi gogoneddus, ac a estyn ei llywodraeth i'r dwyrain, gorllewin, gogledd, a'r deau, ac a reola mewn buddugoliaeth ac anrhydedd tragywyddol hyd derfynau y ddaear. Eithr hyd hyny, bydded iddynt guddio eu gwynebau mewn cywilydd, a gwridio mewn dystawrwydd mawr, wrth ddyfr-ddorau drygioni, y rhai a

arllwysant eu ffrydiau o lygredigaeth a marwolaeth yn mhob rhan o'r tir.

Paham y prioda y Saint dros bob tragywyddoldeb, yn gystal â thros amser? O herwydd fod gwrryw a benyw yn dysgwyl cael adgyfodiad oddiwrth y meirw, ac yn dymuno cael mwynhau cymdeithas eu gilydd yn y cymmeriad o wyr a gwragedd yn y bydoedd tragywyddol. A yw y Saint yn credu y caiff pawb a fuont yn wyr a gwragedd yn y bywyd hwn, fwynhau y berthynas hono ar ol yr adgyfodiad? Nac ydynt; nid ydynt yn credu y caiff neb fwynhau y fraint hono, oddieithr y rhai a briodwyd trwy air yr Arglwydd, a thrwy ei awdurdod ef, dros dragywyddoldeb. Pan fyddo dyn a dynes yn gwneyd cytundeb priodasol, a chyfammodi i fod yn gymdeithion i'w gilydd hyd angeu, y mae ganddynt hawl ar y naill y llall dros y bywyd hwn yn unig; pan ddelo marwolaeth, mae eu cytundeb a'u cyfammodau priodasol yn darfod; ac yn yr adgyfodiad, pa gymmaint bynag a allant ddymuno i fwynhau eu hunain yn yr holl anwyldeb priodasol o wr a gwraig, hwy a gant allan nad oedd eu cytundebau a'u cyfammodau y rhai a wnaed dros amser yn unig, yn rhoddi un hawl iddynt yn eu gilydd yn nhragywyddoldeb. Am hyny, ni chaniateir iddynt o dan unrhyw ammodau pa bynug i fyw yn nghyd fel gwr a gwraig. Eithr ai ni allant adnewyddu eu cytundebau, ac ymbriodi drachefn yn y bywyd hwnw? Na allant; canys fe ddywed yr Iesu, "Yn yr adgyfodiad nid ydynt nac yn gwreica, nac yn gwra, eithr y maent fel angylion Duw yn y nef" (Math. xxii, 30). Y sawl ag nad ydynt wedi sicrhau eu priodas dros dragywyddoldeb yn y bywyd hwn, nis gallant byth wneyd hyny yn ol llaw; gan hyny pe celent trwy ffyddlondeb eu hachub, etto ni fyddent ddim uwch nâ'r angylion, a gorfodid hwy i fyw ar wahan ac yn unigol, ac o ganlyniad heb hiliogaeth, a byddent yn weision i bob tragywyddoldeb i'r rhai hyny a gyfrifir yn deilwng i fod yn freninoedd ac offeiriaid, a'r rhai a dderbyniant orseddau a theyrnasoedd, a chynnyddiad diddiwedd ar eu hiliogaeth, ac a etifeddant dra rhagorach tragywyddol bwys gogoniant. Bydd ar y cyfryw anghen myrddiynau o weision, fel y byddo eu teyrnasoedd a'u llywodraeth yn cynnyddu; a'r rhifedi gofynol a geir yn mhlith y rhai na chadwasant y gyfraith uchelaf, eithr etto a wnaethant eu hunain yn deilwng o wobr lai. (*I'w barhau.*)

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG.

[Parhad o dud. 260.]

YNA galwyd ar rai o lywyddion y cangenau i ddweyd eu teimladau.

Yr Henuriad Thomas Rees, Ffynnon-Tydfil—Yr wyf fi wedi derbyn mawr les yma heddyw, ac yr wyf yn penderfynu bod yn ufydd i weision Duw, a derbyn eu haddysgiadau. Yr Arglwydd a'n bendithio ni oll, fel y byddom yn ostyngedig, yn ufydd, yn addfwyn, ac yn hawdd ein trin, fel clai y crochenydd. Yr wyf fi wedi derbyn bywyd a nerth, trwy y llywyddion heddyw, ac yr wyf yn gwybod fod gallu Duw yn eu meddiant. Anwyl gyfeillion, yr wyf yn gwybod mai hon yw gwir eglwys Iesu Grist, a'r unig fan lle eich achubir; a gwn, os ufyddhewch i'w galwad, y cewch dystiolaeth o'i dwyfoldeb. Duw a'ch goleuo i ddyfod iddi, yw fy nymuniad. Amen.

Dilynwyd ef gan yr Henuriaid Evan Williams, Llanilltyd, a David Rees, Sir Benfro; hysbysodd yr olaf fod y Saint mewn teimladau da yn y sir hono. Dywedodd William Jones, Caerdyf, eu bod wedi bedyddio tua phump ar hugain yno, yn y chwarter o'r blaen, y rhan fwyaf o ba rai oeddynt o blith y Wesleyaid, a'u bod yn penderfynu bedyddio pump a deugain y chwarter nesaf, a bod y doethion yno yn synu, gan ddweyd fod rhyw ddoethineb rhyfedd gyda'r Saint.

Yr Henuriad Thomas Giles—Frodyr, chwiorydd, a chyfeillion, yr wyf yn teimlo yn dda yn eich plith, ac yr wyf yn teimlo yn ddedwydd gyda'r eglwys hon erioed; yr wyf bob amser wedi cadw y bwbach hwnw, sef ofn, oddiwrthyf; ac fy ngweddi barhaus yw, am iddo gael ei gadw yn mhell oddiwrthyf, fel y byddwyf yn ymddiried yn fy llywyddion; a phan y byddo dyn yn amgen i hyn, mae efe yn dechreu myned i uffern. Yr wyf yn penderfynu ufyddhau i'm llywyddion hyd nes y byddo cyfraith Duw yn dweyd paid, ac yna peidiaf finnau gyda hi. Yr wyf yn gwybod fod Ysbryd Duw yma yn cylymu calonau ein llywyddion ynghyd; ac yr wyf wedi taer weddio i hyny gael bod: yr wyf yn eu cyfrif yn dadau i mi, ac y mae genyf ymddiried ynddynt y caf iachawdwriaeth drwyddynt. Yr wyf yn benderfynol i gael ysbryd bedyddio i Sir Fynwy, a chael dynion i ddyfod i dderbyn Ysbryd Duw, oblegid un ardderchog yw hwnw; dyma yr ysbryd

a wna i ni deimlo yn dda yn ein holl dreialon, a'n profedigaethau, a'n gofidiau; mae yn rhaid i ni gael myned trwy y *drill* yr un fath â Job, a Iesu' Grist, a Phrophwyd mawr y dyddiau diweddaf, fel ein gwneler yn deilwng o deyrnas Dduw. Duw a'n bendithio i gadw yr Ysbryd hwn gyda ni, yw fy nymuniad yn enw Iesu Grist. Amen.

Canwyd "Hail, smiling morn."

Y Llywydd D. Spencer—Anwyl frodyr a chwiorydd, er nad wyf yn eich deall yn siarad yn yr iaith Gymraeg, yr wyf yn teimlo yn hyfryd, wrth eich gweled chwi felly. Os llefaraf er eich adeiladaeth, rhaid i mi ddweyd beth sydd oreu i chwi wneuthur. Y mae cyfrifoldeb mawr yn ymorphwys arnom, ac y mae y nefoedd yn edrych arnom, os ydym yn iawn ddefnyddio yr hyn a dderbyniasom, er lles y gwaith hwn. Yr ydym wedi ein galw i ymegnïo ein dylanwad a'n gallu i adeiladu y deyrnas hon i fyny; mae gan y chwiorydd a'r oll o honom allu i wneuthur hyn. Dylem ddysgu ein plant, a rhoddi esiamplau da o'u blaen, a'u hannog i santeiddrwydd a rhinwedd, fel y rhagoront ar bob plant ereill yn eu hymddygiadau; o herwydd hyn, fel un peth, y mae aml-wreigiaeth yn bodoli, fel y byddo i wragedd cyfiawn gael plant, a'u dwyn i fyny yn llwybrau cyfiawnder, fel y rhagoront ar bob plant ereill, ac y byddo hyny yn amlwg i ereill; felly y dylai y swyddogion fod hefyd, dylent amlygu i'r byd, trwy rodiad addas, eu bod yn eu maeddu mewn diweirdeb, a'u bod yn yn elynion i bob math o lygredigaeth. Mae genym ni i adeiladu tŷ i'r Arglwydd, a myned yno i gael priodas nefolaidd, priodas dragywyddol, a chael ein bedyddio dros ein meirw, a chael ein golchiadau a'n heneinniadau, a'n hordeiniadau a'n cynnysgaethiadau, a derbyn bendithion mawr, na ddychymmygodd calon am danynt erioed, hyd nes y byddwn yn wisgedig â gallu oddifry, ac y bydd yr olwg arnom yn hardd tuhwnt i bob darluniad. Yna, gwelwch nad ellir adeiladu teml heb arian, a bydd rhai yn aros yno o'r boreu hyd yr hwyr i roddi cynnysgaethiadau, a dywedaf yn mhellach wrthych, pe byddai deg teml yn barod yn awr, byddent yn rhy fach gogyfer â'r meirw, a'r pethau a nodais. Bydd raid i'r rhai hyny fydd yn rhoddi eu holl wasanaeth er rhoddi cynnysgaethiadau, &c., gael eu cynnal; ac y mae llawer o bethau ereill yn bodoli, sydd yn rhy faith i'w nodi yn bresennol, pa rai sydd o fawr bwys; ond heb ddywedyd rhagor

am hyna, gadewch i mi eich annog, os bydd eich llywyddion yn galw arnoch i fod yn haelionus i roddi eich arian, na fyddwch ag ofn eu rhoddi, gan ddychymmygu beth sydd yn cael ei wneyd o honynt. Mae y brodyr sydd yn myned ar genadiaethau o Seion yn gorfod cael arian i'w cludo i'w llefydd penodedig, ac y mae yn rhaid argraffu gair Duw. Bydd eisieu arian at yr holl bethau hyn; am hyny, Saint, cyfrannwch yn haelionus, ac na wyliwch ar eich llywyddion, fel cath ar lygoden, o herwydd gallaf sicrhau i chwi, eu bod hwy yn cael eu gwylied yn graff. Nid eich gwaith chwi yw gwylied eich llywyddion, ond fe edrycha ereill at hyny. Byddwch haelionus, ac yn ufydd i'w cynghorion; yr wyf fi yn teimlo fod ynoch dueddfryd i wneuthur hyny, a'ch bod yn fobl haelionus, sydd yn ceisio myned yn mlaen, a gwneuthur yn iawn. Na siaradwch ychwaneg am bethau a drafodwyd, ac a drefnwyd, ac a gladdwyd, pa rai a achosodd eich anhawsderau diweddar, ac amddiffynwch gymmeriad eich llywyddion; a phwy bynag a geisia eu gosod hwy i lawr, yr Hollalluog a'i gosod yntau i lawr, bydded gymmaint ag y byddo. Os glynwch wrth y dynion hyn, sef Llywyddiaeth Cymru, fe eich bendithir; y maent mewn cariad ac undeb, a rhoddant eu bywydau i lawr y naill dros y llall, os bydd anghen, a throsoch chwithau hefyd; dihunwch, Gymry, ac honwch eich breintiau a'ch iawnderau, a chyn y gorphenaf fy sylwadau, yr wyf yn teimlo i ddweyd wrthych, fod bendithion mawr yn eich aros. Yr Arglwydd a dywallto allan ei Ysbryd arnoch, yw fy nymuniad yn enw Iesu Grist. Amen.

Y Llywydd Phillips—Yr wyf finnau yn teimlo yn dda, frodyr a chwiorydd; sylwais ar y brawd D. Rees yn canmawl Saint Sir Benfro, gan ddweyd eu bod yn rhagori arnoch chwi; yr oedd ef yn credu hyny yn ddiau, ond yr wyf fi yn dywedyd wrthych, fod mwy o Ysbryd Duw yn y cyfarfod hwn, nâ fu yn Sir Benfro erioed, er fod llawer o hono yno. Fe wneir gwaith mawr a rhyfedd etto trwy y nerth a gafwyd yma heddyw; a bydd i lawer o eneidiau gael eu hachub. Dymunwn i Dduw dywallt ei Ysbryd arnom oll, er mwyn Crist. Amen.

Y Llywydd Davis—Mae y Saint yma wedi cael profedigaethau na chafodd Saint Sir Benfro erioed, ond mwyaf galluog y byddant hwy etto oblegid hyny; ac yr wyf finnau yn teimlo i ddweyd y gwneir gwaith mawr a rhyfedd yma etto, ac y byddwn yn un

yn ei wneuthur. Pawb sydd â'r un teimlad ynddynt, dywedent "Amen." (Y gynnulleidfa yn gwaeddi "Amen.")

Y Llywydd Jones—Yr wyf yn meddwl, wrth eich gweled chwi, am yr hen Saint yn yr amser gynt; pan wedi dod o ryw gyfyngder a chaethiwed, a chael gwaredigaeth, yr oeddynt yn canu cân newydd; felly y byddwn ninnau pan y byddwn wedi dod yn rhydd o bob treialon, a chyfyngderau, a chaethiwed, a blinder, a gofid, allan o Babilon ac o'r cystudd mawr, yn iach i fynydd Seion, wedi ein cànu yn ngwaed yr Oen. O, mor hyfryd y bydd ein caniadau, ac mor hardd fydd yr olygfa arnom, mewn dedwyddwch tragywyddol; hyn fyddo ein rhan ni oll, yn nheyrnas Crist. Amen.

Canwyd "Er cystal yw cyfarfod." Terfynwyd trwy weddi gan y Llywydd D. Spencer.

DAN JONES, *Llywydd*,
WM. LEWIS, *Ysgrifenydd.*

[Nid yw yn beth arferol genym yn awr i gyhoeddi cofnodion cymmanfaoedd y cynnadleddau; ond barnasom fod y gymmanfa hon yn deilwng o gael lle, gan i ni dderbyn cymmaint oddiwrth y brawd Spencer.—GOL.]

---

## DYBEN PENAF EIN BODOLIAETH.

(*Dysgeidiaeth a draddodwyd yn Nghaerfyrddin, Chwef.* 20, 1853.)

"Ond a gawn ni aros yma, a thybied fod holl ddefnyddiau y bydyssawd wedi esgyn i'r radd uchaf o berffeithrwydd? a gawn ni dybied eu bod yn awr wedi dyfod i le o arosiad, tuhwnt i'r hwn nis gallant byth fyned? Na chawn; y mae cyfreithiau ereill o weithrediad yn mha rai y mae yn rhaid iddynt gael eu haddysgu, a chylchoedd ereill o radd uwch a mwy gogoneddus, yn mha rai y mae yn rhaid iddynt ddysgu profiad; ac felly, fel y bydd oesoedd diddarfod yn agor gogoniannau newyddion, a chyfreithiau newyddion, a moddau newyddion o weithrediad, bydd iddynt fyned yn mlaen yn y radden o fodoliaeth ardderchog, gyffredinol, a thragywyddol."—ORSON PRATT, yn yr "Achos Mawr Cyntaf," tud. 24.

ADDEFIR yn ddieithriad mai dyben penaf dyn yw gogoneddu Duw, a'i fwynhau yn dragywydd, sef mwynhau ei deitl, ei swydd, a'i gyfiwr; i'r gradd ag y byddo dyn yn dyrchafu mewn gwybodaeth o'r egwyddorion a'r deddfau ar ba rai y mae Duw yn gweithredu yn ei swydd, i'r gradd hwnw y bydd yn cynnyddu mewn cyffelybrwydd iddo, ac i'r gradd y byddo yn gallu amgyffred ei ddoethineb, i'r gradd hwnw y bydd yn gallu ei ogoneddu.

Ond pa bryd y gall dyn roddi gogoniant i Dduw yn gymmaint ag i ateb dyben ei fodoliaeth? a yw yn bosibl iddo wneuthur hyny yn amseroedd yr adferiad? Nid anturiaf ateb yn gadarnhaol, rhag wedi ein holl drafferth a'n hymffrost yn ngwasanaeth yr Arglwydd, mai gweision anfuddiol iddo ef a fyddwn wedi y cyfan.

Ond trwy ba foddion neu ffordd y mae i'r creadur o ddyn i ateb y dyben hwnw o fwynhau a gogoneddu Duw? Trwy gydffurfio â'r dyfyniad uchod o eiddo Proff. Pratt, sef gosod ei holl alluoedd presennol ar waith i ddeall ac amgyffred natur egwyddorion gweithrediadau Duw, yn y pethau a wnaed ac a welir, fel y delo yn alluog i amgyffred pethau goruwch, ac felly trwy fawr ymdrech a llafur i gynnyddu ar gynnydd Duw ei hun.

Dywedir fod y nefoedd yn dadgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen yn mynegu gwaith ei ddwylaw ef; a bod dydd i ddydd yn traethu ymadrodd am dano, a nos i nos yn dangos gwybodaeth o hono trwy bob iaith ac ymadrodd. Ond trwy ba ffyrdd y mae y rhai hyn yn canu eu hanthemau i'r Duw Goruchaf trwy bob iaith ac ymadrodd? Trwy i ddyn trwy nerth a chymhwysder ei reswm, ganfod ac amgyffred mawredd, gallu, a dawnus ddybenion y Duw byw, yn eu cyd-drefniad a'u rheoleiddiad i ateb doeth amcanion rhagluniaeth, a chynnaliaeth y cwbl yn ddisyfl a difeth; ac i ryfeddu a chanmawl, trwy fawl a diolch, ei anfeidrol allu a'i drugaredd ef.

Cyn dechreu o Dduw waith y greadigaeth hon, a rhoddi i'r haul ei ogoniant, y lloer ei chyfreithiau, y sêr eu hysgogiadau, y môr ei derfynau, yr awyr ei haddurniadau, a'r ddaear ei chnydau, ac felly y nefoedd i ddatgan gogoniant Duw, a'r ffurfafen i fynegu gwaith ei ddwylaw ef; gwir, yr oedd yn ofynol i ryw fôd gael ei wneyd wedi ei gynnysgaethu â gallu a rheswm, a'i gyfleu mewn ffurf a sefyllfa i ganfod, deall, a barnu mawr gariad, gallu, doethineb, a daioni Duw yn eu rheoleiddiad, ac offrymu i fyny aberthau o foliant a diolch iddo ef yn wastadol dros y rhan fud, neu anrhesymol o'r greadigaeth fawr. Y mae dyn wedi ei wneyd yn dra chymhwys i'r perwyl hwn; nid oes un bod creuedig ond dyn yn unig wedi ei anrhegu â chorffoliad unionsyth, ac wedi ei gyfleu o ran gwyneb a llygaid, a chynnysgaethiadau meddyliol cyfaddas i'w alluogi i edrych i fyny gyda rhwyddineb a phleser ar y cyrff gogoneddus a arddangosant eu

hunain yn y nefolion leoedd. Nid oes ammheuaeth nad oedd Creawdwr y bydyssawd yn bwriadu i ddynion ddyfod yn adnabyddus o'i hadeiladaeth, pan y rhoddodd efe i ni gymmaint o oleuni, rheswm, a meddyliau digon galluog i dreiddio i mewn i wybodaethau athronyddol ac astudiaeth mewn pethau arddercbog.

Am hyny, anwyl frodyr a chwiorydd, ein dyledswydd yw chwennych yn barhaus bob math o wybodaethau athronyddol ag sydd yn gyrhaeddadwy yn yr amser presennol, er nad oes ond ychydig o wirioneddau profadwy wedi eu gadael gan holl oesoedd tywyll y byd, o herwydd eu hamddifadrwydd o Ysbryd y gwirionedd, i eangu, miniogi, a bywiocâu yr amgyffrediad, fel y gallo y meddwl gyrhaedd yn fwy treiddiol trwy holl gelloedd natur, er nad wyf yn meddwl y bydd i Ysbryd y gwirionedd roddi gwybodaeth i neb o'r pethau yma heb yr ymdrechion mwyaf o'u tu eu hunain; er fod rhai yn dywedyd wrthyf (pan eu cymhellwyf i ymdrechiadau o'r natur yma), Y brawd Job, fe fydd Ysbryd Duw yn ein goleuo yn y pethau yna pan gyrhaeddom adref i Seion, fel pe na bai swydd gwell gan Ysbryd y Duw byw nag ysbario eu diogi hwynt, ac na bae un achos o ymyraeth, llafur, nac ymdrech o'u heiddo hwy yn y caffaeliad o honynt. Hoff fyddai genyf greu archwaeth yn mhob un o'r Saint, ag sydd yn chwennych rhoddi gogoniant i Dduw, a dyfod yn gyffelyb iddo mewn gwybodaeth a gallu, i gyrhaedd gwybodaeth o'r egwyddorion a'r cyfreithiau, y rhifedi a'r mesurau trwy ba rai y creodd Duw y bydoedd trwy air ei ffydd; ac nid meddwl ei fod yn ddigon o ogoniant i Dduw oddiwrthym, ein bod yn rhyfeddu a synu pan gyfodom ein penau i fyny y dydd wrth weled yr haul yn pelydru yn ei gylch trwy yr eangder diderfyn, gweled y gwlaw, eira, neu y cenllysg yn disgyn ar y ddaear, neu weled y bwa amrywliw yn ymddysclaerio yn y cwmwl draw; neu yn y nos, wrth weled y lloer oleu yn marchogaeth ar fân gymylau y dwyrain bell, neu y sêr tanbeidiawl yn palmentu gwyneb y ffurfafen megys â llwch o aur. Nid yw yn ddigonol chwaith i ni ddeall amcanion daionus Duw yn ngwneuthuriad a chyflead yr holl bethau mawreddog hyn, heb ddeall y cyssylltiadau sydd rhwng gweithrediadau naturiaethol, a dybenion rhagluniaethol y Jehofa mawr. Er enghraifft, cymmerwch leuad y cynauaf, neu fel y gelwir yn gyffredin y "chwech nos oleu;" y mae yn hawdd

i chwi oll ganfod daioni Duw yn peri i'r lleuad gyfodi am amryw nosau ar yr un amser braidd yn gymhwys ag y byddo yr haul yn machlud, ac o fewn i ychydig o fynydau am bythefnos neu ragor yn mis llafurus y cynauaf, pan amser arall yn gwahaniaethu tua thri chwarter awr bob nos: ond a ellwch chwi ddeall ac amgyffred doethineb Duw yn nghreadigaeth a rheoleiddiad cylchoedd y bodau hyn i ateb y dyben neillduol yma, trwy eu cyflead yn hollol unol ag egwyddorion a chyfreithiau natur? A ydych chwi yn deall achosion y gwlaw cynnar a diweddar, mellt, taranau, daeargryn, bwa'r gwlaw, a'r sêr hedegog, ynghyd â'u dybenion? a ydych chwi yn deall ffurfiad y dafnau eiriawg, y rhai sydd mor amrywiol yn eu ffurf â blodau y maes, neu y gronynau cenllysg, y rhai a ddengys holl wahanol ffurfiadau y deuddeg *polygon*? A wyddoch chwi am y gwahanol ystafelloedd yn mha rai y ffurfir yr holl rai hyn? Nis gellwch roddi gogoniant i Dduw oddi wrthynt mewn modd teilwng, heb ddeall y pethau hyn, mwy nas gallai y miloedd pobloedd a welsoch yn ymgasglu i'r dref hon yn ddiweddar i weled yr ager-gerbyd cyntaf yn dod i mewn, roddi un gogoniant i'r awdwr trwy eu hannealltwriaeth o egwyddorion peirianwaith, er eu bod oll yn dadgan ei glodydd yn y modd mwyaf goruchel, ond derbyniai ef fwy trwy ganmoliaeth un peiriannydd medrus.

THOMAS JOB,
Proff. Astro. Brit. A. Assoc.

---

## AMDDIFFYNIAD.

MR. GOL.,—Yn y "Bedyddiwr" am Ebrill, 1853, tud. 119, gwelais Lythyr o eiddo H. L. o Aberhonddi, yn drwg-liwio rhai o'r Mormoniaid, ynghyd â'u hathrawiaeth; a chan mai myfi fel person y mae yn ei ddynodi, gwnaf grefu arnoch i ollwng fy llythyr allan trwy yr UDGORN, fel amddiffyniad i'r cyhuddiadau uchod; canys gallaf brofi y rhan fwyaf o honynt yn anwireddau disail hollol, ac nad ydynt ond cestyll yn yr awyr. Gwirionedd yw ein bod wedi bedyddio pump neu chwech yn Aberhonddi, yn mhlith pa rai yr oedd un o'r enw David Davies, yr hwn a gafodd ei daro yn glaf yn nechreu Hydref, a bu farw o'r clefyd hwnw; ond na chaffai neb o'r Saint fyned yn agos ato, sydd yn anwiredd disail a chwedl wneuthur; canys tra yr oedd yn gallu

myned allan wedi iddo fyned yn glaf, yr oedd yn dyfod y rhan fynychaf i'm tŷ i, a minnau yn myned i'w dŷ yntau; ac y mae y gymmydogaeth lle yr oedd efe yn byw yn dystion o hyny. Ymarfered H. L. i ddweyd y gwir, ynte. Prawf arall a ddyga yw tystiolaeth ei fam i mi, ynghyd ag un arall nad yw yn Sant; hyny yw, darfu i un brawd o'r enw Thomas Morgans, pan ar ei daith, basio heibio heb alw; a darfu i'r brawd uchod anfoddloni i hyny, gan ddweyd pe buasai y brawd hwnw yn glaf, y buasai ef yn myned ddeng milltir i'w weled ef; y mae ei fam, a H. L. yn hollol groes i'w gilydd. Caiff H. L. ammau hyn os gall. Peth arall etto, dywedodd i'r brawd uchod, hanner awr cyn marw, i gynnyg fy nharo i, John D. Roberts, ond methodd a tharawodd y gwely. Pe buasai yn fy nharo, fe fuasai H. L. yn galw hyny yn wyrth, bid siwr; canys yr oeddwn i ar yr amser y bu y brawd uchod farw, tuag ugain milltir o Aberhonddi, yr hyn a ŵyr llawer. Rhyfedd fel y dywedodd Esaiah am dano,—"Canys eich dwylaw a halogwyd â gwaed, a'ch bysedd â chamwedd; eich gwefusau a draethasant gelwydd, eich tafod a ffurfiodd anwiredd." Y mae H. L. yn gobeithio mewn gwagedd, ac yn dywedyd celwydd, yn beichiogi ar flinder, ac yn esgor ar anwiredd. Y mae efe hefyd yn dywedyd mai y Beibl yw rheol crefydd; yr ydym ninnau hefyd yn dweyd ei fod yn reol crefydd; a charem i H. L. ddangos i ni, pa ranau o hono yr ydym yn eu gwadu, neu yn mha beth y mae ein hathrawiaeth yn gyfeiliornus. Yr ydym yn byw yn ddigon agos i'n gilydd; ac y mae iddo ef roesaw i wneyd hyny ar gyhoedd, neu yn y dirgel. Byddai hyny yn well iddo o lawer nâ gwneyd ei dalentau yn gwteri i garthion. Etto, mewn perthynas i'r dywediad na chai neb o'r Saint ddyfod at y claf, tystiolaeth ei fam i mi oedd, ddarfod iddo, pan mewn syfrdandod, ddywedyd, "Cerdd oddi wrthyf, John," ond nas gwyddai hi pwy oedd efe yn feddwl: ond y mae yma lawer wedi ei glywed yn dweyd ei fod yn gwybod ei fod yn Eglwys Dduw; a bu farw gan adael tystiolaeth dda ar ei ol.

Fe ddywed H. L. nad yw y Beibl yn sôn ond am ddwy oruchwyliaeth, sef un Moses ac un Crist, a bod y rhai hyny wedi eu sefydlu trwy wyrthiau, ac nad oes angen am wyrthiau yn y dyddiau hyn, gan fod yr oruchwyliaeth olaf wedi ei sefydlu. Os mai dim ond dwy oruchwyliaeth sydd, sef un Moses a Christ, y mae yn canlyn nad yw y cyfan a fu o flaen Moses yn ddim. Pa

beth a wna H. L. o Noah ac Esaias? onid oedd gan Noah ei oruchwyliaeth yn gystal â Moses, ac Esaias hefyd yn gystal â hyny, yr hwn a gafodd ei ordeinio gan Dduw ei hun? neu pa beth a wna H. L. o amser Adda i waered hyd y diluw, ac o'r diluw yn mlaen at Moses? Oni chawn fod gan Noah ei oruchwyliaeth cyn y diluw? ac oni chawn oruchwyliaeth hefyd o'r diluw i waered hyd Moses? dyna ddwy; ac yn drydydd, dyna oruchwyliaeth Moses, ac yn bedwerydd goruchwyliaeth Crist; ac onid yw Paul yn ei epistol at yr Ephesiaid (i, 10), yn arddangos am oruchwyliaeth a fyddai ar ol hono o eiddo Crist, sef "Goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, yn yr hon y mae Duw yn myned i grynhoi ynghyd yn Nghrist yr holl bethau sydd yn y nefoedd ac ar y ddaear ynddo ef." Cawn hefyd fod Crist yn cadarnhau hyna pan yn llefaru dammeg y winllan, wrth yr archoffeiriaid a'r Phariseaid (Luc xx, 9—19); hyny yw, fod Arglwydd y winllan yn anfon ei weision i arolygu dros y winllan, a'u bod yn cael eu gwrthod, a'i fod wedi danfon tri, un ar ol y llall; ac yn bedwerydd, iddo ddanfon ei fab ei hun, ac iddynt i benderfynu lladd y mab, gan mai efe oedd yr etifedd. Ac yn awr, onid ydym ni yn cystrawenu â geiriau Crist, ac H. L. yn hollol groes i'r Beibl a rheswm dynol.

Y peth arall a ddywed H. L. yw, nad oes angheu am wyrthiau yn y dyddiau hyn, gan fod yr oruchwyliaeth wedi ei sefydlu. Os oedd gwyrthiau yn anghenrheidiol i'w sefydlu, onid ydynt yr un mor anghenrheidiol er ei chadarnhau ar ei hynt? Onid yw Duw yn caru ei blant yn awr yn gystal ag erioed? ac onid yw yn Dduw y gallu yn awr hefyd? ac os ydyw yn parhau yn Dduw y cariad, ac yn Dduw y gallu, gofynaf paham na bae dynion yn awr yn mwynhau yr un bendithion ar eu hufydd-dod i'r un ordinhadau? Ar gefn hyna etto, gofynaf i H. L. a ydyw ffydd yn ei hegwyddorion a'i natur wedi cyfnewid? Os nad yw, y mae yn canlyn ei bod yn dwyn yr un effeithiau, sef mwynhad o'r bendithion addawedig trwyddi; neu o'r ochr arall, os ydyw wedi cyfnewid, ofer yw ymdrechu o blaid y ffydd a roddwyd unwaith i'r Saint. Ond diolch i Dduw, y mae wedi dweyd y byddai i'r nefoedd a'r ddaear fyned heibio, ond y byddai ei air ef i sefyll yn dragywydd. Bydded H. L. yn gelwyddog, ynte, a Duw yn eirwir. Ac y mae Pedr ar ddydd y Pentecost yn dysgu y bobl i gredu yn Nghrist ac i edifarhau, a chymmeryd eu bedyddio er maddeuant

pechodau; ac yn olynol i hyny, y mae yn rhoddi addewid o ddawn yr Ysbryd Glân yn ei wahanol ddoniau; ac y mae yr addewid hono i barhau yn y blaen tra y byddo Duw yn galw ato: ac os ydyw Duw yn galw ato yn awr, mae addewid o ddawn yr Ysbryd Glân i bawb yn mhell, ac yn ei wahanol ddoniau (1 Cor. xii), sef i "un ymadrodd gwybodaeth, gwyrthiau," &c. Mae Pedr ar ddydd y Pentecost, yn dangos parhad dawn yr Ysbryd Glân, a Phaul (yn 1 Cor. xii) yn dangos beth ydyw.

Yn mhellach etto, gwnaf brofi i H. L. fod gwyrthiau i gael eu cyflawni yn y dyddiau diweddaf, trwy ei gyfarwyddo i'r manau canlynol:—Jer. xvi, 14, 15; Esay xi, 15, 16; xxxv, 5, 8; Joel ii, 27—30. Cymmered H. L. hyna; caiff ragor etto os bydd arno eisieu.

*Aberhonddi.* JOHN DUNN ROBERTS.

---

## LLYWYDDIAETH Y SAINT YN NGHYMRU.

HEN arfer y cyn-feirdd fu canu clodforedd
I'r fawr Offeiriadaeth yn moreu y byd;
Holl feibion y Duwdod yn llawn o orfoledd,
Ar ffurfiad y ddaear, a ganent i gyd:
Cân Moesen a erys yn golofn ardderchog
O'r fawr waredigaeth ga'dd Israel mewn hoen;
Tyr allan ei llewyrch yn fil mwy godidog,
Yn mhelydr gogoniant uchel-gân yr Oen.

Mor felys y canodd hen saint Palestina,
Eu cerddi yn folawd i weision eu Nêr;
Melysach er hyny i ni, meibion Gwalia,
Rhoi parch i'n Llywyddiaeth ar lafar yn bêr;
Bugeiliaeth dyner-fwyn—ein porthi a fyna
A dwyfol wirionedd, er cynnydd y praidd;
Nid einioes nac angeu fydd byth yn attalfa
I'n cadw yn ddiogel rhag dannedd y blaidd.

Chwi deulu'r Lâs Ynys, dewch, dewch, gorfoleddwch,
O dir ein caethiwed cawn fyned yn rhydd;
Mae'r wawr wedi tori ar drigfa'n tywyllwch,
Yr haul a lewyrchodd, ymdaenodd y dydd;
Y bwystfil gormesol, hen deyrn annedwyddwch,
Daeth adeg ei wewyr,—dynoethwyd ei ffau;
Fe sychir afonydd o ddagrau a thristwch,
Hen satan ei hunan a rwymir yn glau.

Daeth cyfnod gorfoledd ar randir hen Walia,
Bu heirdd Apostolion mewn nerth yn ein mysg;
Ei meibion ei hunan dan urdd welir yma,
A miloedd yn llawen yn derbyn eu dysg;
Ca Phillips, a Davis, a Jones ein serch-gofion
Tra Seion yn gwisgo gogoniant di-ail;
Ar Jeremy a Daniels y gwlawier bendithion
Rifedi y mân-wlith ar ddolydd y dail.

Hen Gymru, gau-wylwyr dy dyrau dadfeiliog,
G'wilyddiant yn llewyrch tanbeidiol y nef;
I'th ran, O ferch Seion, ce'st wylwyr ardderchog,
Am hyn mewn llawenydd dyrchafa dy lef.
Os gwelwyd Llywyddiaeth yn ymffrost Brythoniaid
Yn arwain byddinoedd i feusydd y gwaed,
Llywyddiaeth â *bywyd* gan Iesu bendigaid,
Yn chwifio y faner dros Gymru, a gaed.

Pilerau dysclaeriol a chedyrn yn Seion,
Osodwyd mewn urddas, a'u golwg yn gain;
Tri dewrion anrhydedd holl deulu y Brython,
Colofnau gwirionedd Duw Joseph yw rhai'n.
Goleuant er taenu y ddwyfol wybodaeth,
Rhyfeddod a ganlyn eu camrau'n barhaus;
Fel tân eu dysgeidiaeth ennyna'r D'wysogaeth,
Er llid a chenfigen y balch a'r trahaus.

Y fawr Offeiriadaeth a'u gwisgodd ag urddas,
Didwylledd fo'n llenwi eu mynwes bob pryd;
Eu penderfynoldeb a'u gesyd yn addas,
I ddala llywyddiaeth tir Gwalia i gyd;
Dydd profiad sydd iddynt yn gynnydd gorfoledd,
Yn nghanol erlidiau hwy wenant yn gu;
Llid gallu'r tywyllwch eglura'u hanrhydedd,
Ar falais hyll uffern hwy chwarddant yn hy.

Mawr nerth Offeiriadaeth dragwyddol y Duwdod,
Ddinystria ogoniant teyrnasoedd y byd;
Yr amherodraethau a welir yn dattod,
Diflana yn fuan eu cysur i gyd:
Dewr genedl y Cymro, O bloeddia i ganu,
Yr angel ehedodd yn nghanol y nef,
'R efengyl dragwyddol sy'n adsain holl Gymru,
Daeth dydd Iachawdwriaeth—dydd bywyd yw ef.

Gwirionedd a darddodd o fynydd Cumorah,
Cyfiawnder o'r nefoedd edrychodd i lawr,
Trugaredd a heddwch i'r byd a eheda,
Yr anghyfanneddle flodeua yn awr.
Ar lenyrch tywyllion yr hoff Dywysogaeth
Teyrnasa'r gwirionedd yn nerthol a mâd;

Dynoetha holl dwyll a gorthrymder sectariaeth,
Ei ddwyfol belydrau sy'n llathru'r holl wlad.

Hen garwyr melys-chwant ddifwynant bren Judah,
Pardduant ei degwch â'u chwedlau dirif;
Eu cyfeiliornadau fel afon a'i rhedfa,
Orchuddiant y ddaear â gwenwyn eu llif.
Ond wele! pren Ephraim fu'n nghudd amryw oesau,
Gwiw drysor y dyddiau diweddaf a gaed;
Trwy ddwylaw'n Gweledydd fe'i dygwyd i'r goleu,
Ei eiriau gan Joseph yn amlwg a wnaed.

Nid cynt yr amlygwyd ei ddwyfol gynnwysiad,
Nag y llanwodd digllonedd esbonwyr y byd,
Can's gwelent fod diben ar ddyddiau eu marchnad,
Hen Babel a grynai o'i gwadnau i gyd.
Y ddau welir weithian yn nwylaw tylodion,
Heb len y darllenir pur eiriau ein Duw;
A dygwyd i'r goleu fwriadau Duw Seion,
I wared euogion i wynfyd i fyw.

Dilenwyd y gorchudd fu'n dallu dynolion,
A'r fagddu ymdaenodd dros bobloedd y byd;
Gweddillion plant Joseph fu'n hir ar gyfeiliorn,
O dir eu gwasgariad ddychwelir i gyd:
Daw adref y llwythau fu'n nghoIl yn y gogledd,
I gelloedd yr eira gwir ryddid a â;
Yr Arglwydd a ddisgyn o'r nef mewn anrhydedd,
A'i lewyrch a dodda fynyddoedd yr iâ.

Tra calon gan Gymro, nis gellir anghofio
'N llywyddion ymdrechawl—pwy weithiodd yn fwy
Yn Ngwalia yn ddewrwych pwy fu mor ddiflino,
'N llesoli eu cenedl, gofynaf pwy? pwy?
Llywyddiaeth goronwyd, ac etto goronir,
A llwyddiant dihafal na welwyd ei ail;
Llywyddiaeth ag uchel ogoniant hynodir,
Ei dirfawr lafurwaith i hyn sydd yn sail.

O Gymru, pa genedl dan wyneb y nefoedd,
Ddyrchafwyd yn uwch yn ei breintiau nâ thi?
Yn Seion trwy eithaf terfynau'i dinasoedd,
Am oesoedd tragywyddol yr erys dy fri.
Ar feusydd *llenoriaeth* rhagorodd dy ddewrion,
Dy *wasg* a drosglwyddodd fawr olud i'th ran;
O'r palas i lawr at aelwydydd tylodion,
Mae llef dy *draethodau* yn llanw pob man.

Y nefol "Athrawiaeth," a'r cain "Gyfammodau,"
Gwel hefyd "Lyfr Mormon," pen llyfrau y byd;
Darllenir rhai'n weithian yn iaith ein hen dadau,—
Am hyn gorfoledda Saint Gwalia i gyd.

Holl ddoethion colegau sy'n awr yn pensynu,
Gwyr blîn Babilonia sy'n gwelwi mewn gwarth;
Eu dawn duwinyddol sy'n awr yn diflanu,
O flaen y goleuni y cilia fel tarth.

Y fechan a welwyd yn nydd ei phlentyndod
I ferched hen Babel yn wawd ac yn rheg,
Sy'n awr yn ymdrwsio i gyfarfod â'i Phriod,
A'r olwg sydd arni yn hardd ac yn deg.
Ei harddwch sy'n gyru eiddigedd gwenwynig
Ar feibion y bwystfil, y bradwyr trahaus;
Holl ferched y butain sy'n awr yn anniddig,
Yn griddfan dan wewyr a gofid parhaus.

Gan floedd "UDGORN SEION" mae llu y Philistiaid
I'w gweled mewn terfysg a d'ryswch o draw;
A llef y gwirionedd o enau'r Brythoniaid,
Sydd wedi eu gwisgo â dychryn a braw.
Ar fyrder cawn feddu yr hoff waredigaeth,
Coronir ymdrechion y diwyd a'r da;
Ar nerthoedd y gelyn cawn lwyr fuddugoliaeth,
Ac yna merch Seion grechwena, Ha, ha!

O 'wyllys i gael hwn allan—ydwyf,
Heb oedi, yn fuan;
Hwn yw'm cais, a hyn yw'm cân,
I gofio 'i gael yn gyfan. DEWI ELFED.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

YMFUDIAD.—Ar ddiwedd ymfudiad y Saint eleni, ceir fod wyth llongaid wedi hwylio, yn cludo 2,609 o Saint, ond fod 23 o honynt mewn llongau ereill. Aeth 1,252 yn ol trefniadau eu hunain, 957 yn gwmnioedd deg-punnoedd, a 400 gyda'r Drysorfa Ymfudol. Traul uniongyrchol y cyfan yw oddeutu £30,000.

MAE y llongaid Saint Cymreig wedi tirio yn ddiogel yn New Orleans, ar eu ffordd i Seion.

---

TALIADAU O EBRILL 15 HYD EBRILL 21.—Pendeulwyn, 13s; Pontfaen, 4s; Caerdyf, 6s 6c; Aberamman, 5s; Hirwaen, 2s 3c; Cwmnedd, 8s; Georgetown, 12s 2c; Merthyr, 14s; Ffynnon-Tydfil, 2s; Troedyrhiw, 3s.—Cyfanswm, £3 9s 11c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 18.] EBRILL 30, 1853. [CYF. V.

## CYFARCHIAD CAPT. JONES.

ANWYL FRODYR A CHWIORYDD YN NGHRIST,—Wedi hir arfaethu, a chael fy amddifadu, o herwydd lliosogrwydd a phwysigrwydd dyledswyddau ereill, o'r pleser o'ch cyfarch trwy y wasg, er pan y tiriais yn ol i wlad fy ngenedigaeth; cipiaf yr adeg a'r cyfle presennol i wneyd rhai sylwadau *rhag-arweiniol*, gobeithiaf, i lawer o hanesion difyrus, egwyddorion iachus, a dysgeidiaeth a chynghorion dyddorol ac adeiladol, pa rai a ddeallais er pan adawais y wlad hon, a pha rai, hyderaf, y caf y pleser o'u dysgu i chwithau yn eu hamseroedd priodol.

Buom yn absennol o'ch plith am yn agos i bedair blynedd, yn ystod pa amser teithiais o bymtheg i ddeunaw mil o filltiroedd. Deallasoch lawer o'm helyntion i, ynghyd â'r lliaws Saint a gychwynasant gyda mi tua Dinas y Llyn Halen Fawr, trwy lythyron, &c. Cefais y fraint o'ch hysbysu am beth o'n helyntion wedi cyrhaedd, ac am ystod y tair blynedd ag y buom yno yn byw, trwy lythyron; ac er nad oeddynt ond megys lloffion o'r cynauaf toreithiog o'r newyddion dyddanus a'r daioni a ellid ddweyd am Seion, ei Llywyddion dyngarol—ei thrigolion dedwyddol, ynghyd â'i mwyniant a'i rhagorfreintiau rhyfeddol, yn dymmorol ac yn ysbrydol, etto nid ymhelaethaf ar y pethau hyny yn bresennol.

Yn y gymmanfa a gynnaliwyd yn Ninas y Llyn Halen Fawr, yn mis Medi diweddaf, rhyngodd bodd i'r prif gynghor yn Seion

fy anfon yn ol yma i'ch gwasanaethu chwi ac achos Duw yn Nghymru, fel y dangosa y llythyrau a ganlyn:—

"Dangosa y llythyr hwn fod y dygiedydd o hono, sef yr Henuriad Dan Jones, mewn cymdeithas gyflawn ymddiriedol yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, ac efe a ddanfonwyd yn rheolaidd gan brif awdurdodau yr Eglwys ar genadiaeth i Gymru, i bregethu yr efengyl, ac i weinyddu yn yr holl ordinhadau a berthynant i'w swydd; a chymhellwn bawb i ufyddhau i'w ddysgeidiaeth a'i gynghorion; canys gwr Duw yw efe, wedi ei anfon i agoryd dorau bywyd ac iachawdwriaeth; ac annogwn bawb i'w gynnorthwyo drwy ddiwallu ei holl angenrheidiau.

"A thaer weddiwn ar i Dduw, ein Tad tragywyddol, lwyr fendithio yr Henuriad Jones, a bendithio pawb a'i derbynia ac a weinyddant gysur iddo, â'r goreuon o fendithion nef a daear am amser ac i dragywyddoldeb, yn enw Iesu Grist. Amen.

"Arwyddwyd, Dinas y Llyn Halen Fawr, Tiriogaeth Utah, Medi 13, 1852, dros yr eglwys.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL, } *Y Brif-Lywyddiaeth.*"
WILLARD RICHARDS,

---

"UNOL DALEITHIAU YR AMERIC, TIRIOGAETH UTAH, DINAS Y LLYN HALEN FAWR.

"*At bawb ag y perthyna*;—Tystiwn fod Dan Jones yn aelod yn nghorwm yr Archoffeiriadaeth yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, a'i fod ef wedi cael ei gynnysgaethu â phob awdurdodau anghenrheidiol er iawn bregethu efengyl Iesu Grist, ac i weinyddu yn yr holl ordinhadau a'r dyledswyddau perthynol i'w alwedigaeth. Am hyny, rhoddwn i'n brawd ffyddlawn a chymmeradwy hwn, y gymmeradwyaeth hon at bawb lle yr elo, gan weddio am ei lwyddiant a'i lesoldeb yn ngwaith y Gwaredwr.

"Er tystiolaeth o hyn, ysgrifenaf â'm llaw fy hun yn Ninas y Llyn Halen Fawr, Medi 14, 1852.

JOHN YOUNG,
Llywydd Corwm yr Archoffeiriaid."

"S. M. Blair, Ysgrifenydd."

Anwyl Saint, y mae yn llawenydd annhraethadwy genyf allu dychwelyd yn ol i'ch plith gyda chymmeriad mor ddifrycheulyd ac ymddiriediad mor fawr ag uchod; a theimlaf yn dra diolchgar i'r Duw tirion a'm pïa am arbed fy einioes mewn mawr ac aml beryglon ar fôr a thir, ïe, pan yr oedd brenin y dychryniadau yn tori i lawr o'm deutu gyfeillion cu, wrth y degau. Diolchaf iddo Ef, ac i chwithau am eich gweddiau ffyddiog ar fy rhan am

estyniad einioes ac adferiad iechyd. Anhawdd traethu fy llawenydd pan yn cael dychwelyd yn ol i'ch gwasanaethu chwi a'm cydgenedl, ac achos yr Iachawdwr yn Nghymru; serch fy mod drwy hyny yn cael fy amddifadu am amser, o ddysgeidiaeth flasus, cynghorion dwyfol, a melys rin cymdeithas anwyliaid Seion; ie, a'm hamddifadu hefyd o gymdeithas hoff teulu anwylaidd. Pwy a all ddesgrifio yr olygfa hono? Ond er hyn oll, mil-mwy cysurol i'm meddwl yw cael dychwelyd gyda chymmeradwyaeth ac ymddiriediad yr awdurdodau uchod; ac y mae yn destun diolch genyf yn barhaus, ddarfod i'r Ysbryd tragywyddol —arweinydd y ffyddloniaid, arwain fy nghamrau ar hyd ffordd uniondeb er pan eich gadewais, ac ddarfod i mi glywed yn Seion, a phob man llë y bum, y groesaw mawr addawedig, sef, "Da was da a ffyddlawn" i'r oll a wnaethym yn ddieithriad: cymhella hyn i fwy o ffyddlondeb, a gwyn fyd a efelycho.

Mae yn hysbys i chwi oll weithian, i'm hanwyl frodyr, Thomas Jeremy a Daniel Daniels, hefyd, gael eu danfon ar yr un pryd ar genadiaeth i'ch plith. Cyn ein hymadawiad o Ddinas y Llyn Halen, ymgasglodd yr holl Saint Cymreig yngbyd i ffarwelio â ni; ac anhawdd traethu yr undeb, y cariad, a'r llawenydd oedd yn eu plith, o herwydd ein bod ni yn myned i'ch gwasanaethu chwi yma. Anmhosibl traethu eu hawydd hwy i'ch gweled chwi yno, nid yn unig perthynasau, ond ystyriant chwi oll yn berthynasau agos drwy yr efengyl; a mawr yw eu hawydd ar i chwithau fwynhau breintiau Seion fel hwythau. "Gwnewch eich goreu i gael fy rhieni i yma," ebe rhai. "Cofiwch hala fy mhlant anwyl innau," ebe arall. "O gwnewch eich goreu i ddwyn fy nheulu i i'r eglwys," ebe y lleill. "Gwyn fyd pe gallwn i gael gan fy nhylwyth ddeall y fath le da sydd yma," ebe ereill yn awyddus. A phe gallwn ond traethu yr awydd oedd yn mynwesau yr oll, am les, dedwyddwch, a dyfodiad yno, y Saint Cymreig, ac am lwyddiant yr efengyl yn Nghymru, diau na fyddai ammheuaeth yn meddwl neb am eu dedwyddwch hwy, nac am y pleser na'r lleshad o breswylio yn Seion. Melys fydd hir-gofio yr ymadawiad hwnw â'r Saint hynaws yn Seion—a'u mawr awydd am lwyddiant ein cenadiaeth ni a'ch lles chwithau. Yn unfrydol, dymunodd y dorf arnom i gario eu hanerchion gwresocaf atoch, a'u cofiant diffuant at yr holl Saint Cymreig yn Nghymru; ac yn unllais addawsant i daer weddio ar i'ch Duw

chwi a'u Duw hwythau, eich bendithio â goreuon o fendithion ei deyrnas, ac yn enwedig i'ch casglu oll ar fyr i Seion. Hiraethant am yr amser a'r cyfle i'ch llesoli yno.

Dywenydd genyf eich hysbysu (gwell hwyr na hwyrach) fod y Saint Cymreig oll a diriasant yn y Dyffrynoedd yn mwynhau iechyd dieithriad yno, a'r a glywais; ac ni bu farw, o'r oll a diriasant yno hyd fy nychweliad, ond un yn unig. Mwynhant hefyd fywoliaeth gysurus yn gyffredinol. Ni wn am un yn dyoddef eisieu dim anghenrheidiol, ac y maent yn ymgyfoethogi mewn bendithion tymmorol ac ysbrydol, fel nad wn am neb yn anfoddlawn i'w gyflwr. Gwladychant hwy, fel pawb ereill, lle y dewisant; ac er fod rhai o'r Cymry wedi dewis manau ereill, etto arosa y mwyrif yn, neu gerllaw Dinas y Llyn Halen Fawr. Tiriodd yr holl Gymry a aethant oddiyma gyda y "Gymdeithas Ymfudol," cyn ein hymadawiad, yn iach a chysurus.

Mewn ufydd-dod i'r alwad, cychwynais o'r Ddinas Medi 15, 1852, yn nghwmpeini tua phedwar ugain o frodyr ereill ar genadiaethau i wahanol barthau y byd. Wedi teithio tua phedwar ugain milltir, daethom at "afon yr Arth," lle y cyfarfuom â rhan flaenaf o wersyll lliosog o Gymry, ar eu ffordd i'r dyffryn, o dan lywyddiaeth ein parchus frawd, Wm. Morgan, gynt o Ferthyr. Yn eu plith yr oedd yr Henuriaid Abel Evans, William Davies (gynt o Rymni) a'i deulu, Mrs. Howells, Aberdare, a'i theulu, Morgan Dafydd, a theulu Wm. Dafydd, Llanelli, ynghyd â llawer ereill ag yr hysbysais i'w cyfeillion eisoes. Cynnwysa y cwmpeini hwn yr oll o'r Cymry oedd yn Kanesville gynt, oddieithr teulu neu ddau, heblaw ereill o St. Louis, &c. Yr oeddynt oll yn eu cynnefinol iechyd ac yn bur galonog, wedi bod yn bur lwyddiannus ar eu taith hyd yn hyn, ac yn debyg y cyrhaeddent ben eu siwrnau mewn wythnos. Treuliais noson gysurus gyda y rhan flaenaf o'r gwersyll, y rhai oeddynt beth o flaen y dosparth olaf, ac wedi rhanu er mwyn porthiant. Nos dranoeth gyda y dosparth olaf, mawr fu y gorfoledd, y canu, a chysuro ein gilydd, a melys y canem oll—

"Melys ganu fydd yn Seion,
Pan y delo'r Saint ynghyd;
Melys gwrdd y pererinion,
Fu ar wasgar trwy y byd."

Boreu dranoeth ymadawsom bawb i'w ffordd yn llawen. Teithiem

ni mewn cerbydau a meirch mor gyflym ag y gallem, o herwydd diweddardeb y tymmor, rhag ofn y goddiweddai y gauaf dryc-iniog ni. Am y pum cant blaenaf o'n taith, yr oedd y ffordd yn arw gan mwyaf, a'r tywydd yn hyfryd, oddieithr ambell ystorom eiriawg. Am y pum cant olaf o filltiroedd teithiem trwy wastad-diroedd gan mwyaf; y ffordd yn dda, ond y borfa yn brin yn aml. Weithiau am ugeiniau o filltiroedd ni welem laswelltyn braidd, ond y ddaear yn ddu o'n hamgylch, o herwydd i'r Indiaid osod tân yn y borfa. Mewn lleoedd felly gyrem ein hanifeiliaid i ynysoedd bach oedd yn yr afon Platte. Ymddyg-odd yr Indiaid yn garuaidd iawn i ni yn mhob man, er ein bod weithiau yn gweled miloedd o honynt mewn un dydd. Wedi taith, gysurus ar y cyfan, o tua saith wythnos, cyrhaeddasom wlad wareiddiol ar gyffiniau gorllewinol Talaeth Missouri; ac wedi croesi yr afon fawr hono, a theithio tua chan milltir, cyr-haeddasom ddinas St. Joseph; yr eira a'r gauaf oedd cyn hyn fel ymchwyddiad tòn y môr yn gyru ar ein gwarthaf, yma a'n goddiweddodd. Yma gwerthasom ein hanifeiliaid, &c.; a thra-noeth, er ein mawr gysur, tiriodd agerfad i'n cludo tua St. Louis, lle y cyrhaeddasom mewn pedwar diwrnod. Ymwasgarodd y gwersyll yn ol eu galwedigaethau amrywiol ffyrdd, dan gofiant melys diau o'r gwmniaeth gu, yr addysgiadau llesol, y cariad, y cydgordiad, a'r undeb dieithriad ac anghymharol a lywyddodd wersyll o henuriaid Israel o Seion hyd yma. Oddiyma, gydag agerfadau a chledr-ffyrdd, daethom i Gaerefrog Newydd mewn tua deg diwrnod, a blaen y gauaf eiriawg yn ein dilyn er cyf-lymed ein rhodiad, fel na chawsom ond neidio ar fwrdd yr ager-fad olaf a allai ddod i Albany cyn rhewi i fyny yr afon; ond trwy ymroad nerth ei hanferth olwynion, dyrnodd yr ia fel malu ewyn, a rhwygodd ei ffordd angherddol, nes dwyn erbyn dydd dranoeth genadon Duw yn ddiangol i borthladd y dref uchod, lle y cawsom long yn ein haros, ar yr hon, mewn parch i arch ein Duw, y gorllewin wynt a'n chwythodd i Llynlleifiad yn ddiangol mewn byr amser. Dranoeth cyn dydd, cychwynasom ni ein trioedd, mawr ein brys, tua bro ein magwraeth. Da yw dweyd, dranoeth ar ol Nadolig, sengodd ein traed gyssegredig dir anwyl etto unwaith yn Caerdyf. Dranoeth, yn Merth[illegible] liaws brodyr a chwiorydd hoff, a cheraint hefyd, bob [illegible] byd, yn llon eu gwedd, a redent i'n cyfarfod. Golygfa [illegible]

ni ddesgrifir hon! Ond hyn sydd siwr, y gwela llygad Cymro yn mhell i gelloedd calon gwr—mai cynhes i'r gwadnau yw greuan gwlad ei dadau; a'r fro a'i magodd sydd faen-tynfa i'w holl serch.

Er pan ddychwelais, cefais y pleser o weled miloedd o'm brodyr a'm chwiorydd hynaws mewn amryw gymmanfaoedd yma; Sir Fynwy, Abertawy, Llanelli, a manau ereill; ac nid yw melysder eu cwmniaeth hwy ond creu mwy o hiraeth ynof am weled yr holl Saint ereill drwy Gymru; ac yn creu ynof fwy o awydd i'w llesoli; ac y mae yr awydd hyn yn cynnyddu o hyd yn gyferbyniol i ymddangosiad amlycach gogoneddusrwydd yr iachawdwriaeth rag-barotoedig i'r ffyddloniaid.

Hysbys i chwi fy mod i wedi cael y fraint o lywyddu Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, galwadau pwysig yr hon swydd ydynt yn awr yn cyfyngu fy llafur i'r cylch hwn yn neillduol; etto gan i mi gael yr anrhydedd o gyssylltiad â'r Brif-Lywyddiaeth hefyd, hyderaf y caf felly y pleser mawr o ymweled â'm holl frodyr drwy y dywysogaeth cyn hir. Fy nymuniad taer yw am gael fy arwain i'r cylch a'r fan hono, nad ple y bo, lle y dewisa Duw i mi fod; canys yno yn unig y gallaf wneyd y lles a ddymunwn i'r holl Saint a'r gogoniant a deilynga y Duw gogoneddus a'n pïa ni oll. Mewn cyssylltiad a chydweithrediad a'm hanwyl frodyr yn y cylch hwn, ynte, hyderaf na siomir neb a ddysgwylia wrth Dduw drwyddom, am y cyfarwyddiadau anghenrheidiol a'r cynghorion gofynol er eu hymfudiaeth i Seion, ac er iawn droedio llwybrau cyfiawnder tua gwynfyd. Pob duwiol a gyd-weddiant ar i Dduw ein harwain ni ein trioedd â'i Ysbryd Glân bob amser, ac yn mhob peth, i *barhau* i fod, fel yr y'm yn awr, ac yn penderfynu i fod, o un galon a dymuniad, mewn undeb dyben ac awyddfryd i anrhydeddu y cylch pwysig ein gosodwyd ynddo, drwy eich gwasanaethu chwi ac achos ein Duw, a'ch llesoli po fwyaf. Pwy sydd ddigonol o hono ei hun i'r mawr-waith hwn? Er cyflwyno i'r Saint, i bersonau, a theuluoedd, i gangenau, a chynnadleddoedd, iawn gyfarwyddiadau i fywyd, nid digonol amgen nâ doethineb ddwyfol—ysbrydoliaeth y Goruchaf. Pwy, heb y cymhwysderau hyn, a feiddia gynghori, dan ystyriaeth o'i gyfrifoldeb yn cynghori y dydd a ddaw? Pwy, heb hyn, a ddichon iawn gyfarwyddo dynion o wahanol dalentau, o dan wahanol amgylchiadau, beunydd gyfnewidiol, fel y gwar-

eder y Saint rhag y drwg, ac y gwnelont yr hyn yn unig a'u llesola am amser ac i dragywyddoldeb? Pwy sydd alluog i hysbysu i'w gyd-ddyn feddwl yr Ysbryd, ar yr holl faterion a'r gofynion a orfodant eu hunain ar y Saint beunydd, a'r rhai hyny yn amrywiol, digyffelyb; ac etto, yn bwysig, oddieithr eu bod trwy ysbrydoliaeth yn cael eu goleuo beunydd i ddeall y *dyfodol*, heblaw y *mynedol*? O ffolineb dynol ddoethineb pan yr ymddringa ar orsedd *ysbryd* y *brophwydoliaeth*! Saint anwyl, gweddiwch beunydd dros fy anwyl gyd-frodyr yn y cylch hwn, sef y Llywydd Phillips a Davis, a thros eich gostyngedig was, fel y gallom wneyd i chwi y lleshad a ddymuna ein calonau, ac y caffom gymmeradwyaeth ein Duw wedi y darfyddom.

Bendith anmhrisiadwy, ïe, bendith nas gŵyr neb ei maint, ydyw cael iawn ddysgeidiaeth—cywir arweiniad, sef meddwl Duw, i arwain y meddwl dynol. Nid neb ond y Saint a feddant y fawr-fraint hon. Anhebgorol er mwynhau y bendithion dymunol yn nheyrnas Dduw yma, yw cael deall ei hammodau; ac ar ein hufydd-dod i'r oll o honynt y dibyna ein mwyniant o'r annesgrifiadwy ogoniant a'r anchwiliadwy olud ag sydd yn nghadw yn y nef i ffyddlawn blant ein Duw. Dywenydd genyf dystio, er cysur i'r Saint, ac annogaeth i ffyddlondeb, yr hyn a osododd ffeithiau profadwy tuhwnt i ddadl yn fy meddwl, sef fod y Llywyddiaeth yn Seion yn gyfryw gyfryngau yn llaw Duw ag a'n harweiniant ar hyd ffordd y bywyd, i feddiant o fendithon nef a daear, ïe, i bob daioni a chwennycha unrhyw galon gywir gael gan Dduw. Ni phetrusaf ddweyd eu bod hwy, dduwiol wyr, yn weision Duw,—eu bod hwy, a'r holl Offeiriadaeth yn Seion, yn llywyddu y lle yn ol cynghor ac ewyllys y nef—yn wroniaid yn myddin Iesu, yn ceisio lles ei blant drwy'r byd. Nid balch draws-wyr i'w boddio eu hun, namyn llariaidd,—dyngarwyr, yn hoffi arwain truenusion byd i hawddfyd. Tadau i'r Saint y'nt, hynaws wyr, a theilwng o gyflawn ymddiriediad—rhodd Duw i'n daear ni. Saint, gwnawn yr oll a ddywedant! Oddiwrthynt hwy, cyfryngau i ni yw y Llywyddiaeth Brydeinig. Blynyddoedd o adnabyddiaeth bersonol â hwy a ennilla iddynt fy ymddiried i, a'r dystiolaeth ddiwrthbrawf, drwy Ysbryd ein Duw a feddwn ni, neu a *allwn* oll feddu, ond ei cheisio, mai llais Duw yw eu lleisiau hwy i ni, a'n gorfoda i chwennychu eu cynghorion megys y dymunem fywyd a hedd. Testun diolch i'n

Duw, ddylai fod, am allu tystio hyn: y dystiolaeth hon sydd gywir. Saint, mawrygwch chwithau eich braint, gweddiwch dros yr offeiriadaeth—eich arweinwyr chwithau; pa rai, credwn, nad faint llai eu gwybodaeth, nid llawer llai eu hawydd i'ch iawn arwain ar hyd ffordd y bywyd. Dyma'r ffordd—yr unig ffordd a wn i wynfyd. Os hwy a gyfeiliornant mewn dim yn unrhyw gylch, mae brawdlys uwch a'u profa; mai hawl pob aelod yw cael hyn, nid oes a ammheua; ac felly pa berygl a ddichon fod?

Anwyl frodyr yn ngwinllan Crist, cofiwn hyn, mai bugeiliaid ar brawf y'm ni, mai eiddo Crist ein gofal; ac mai gwerthfawr yn ei olwg beunydd yw ei braidd. Fel y cyfryw, porthwn hwynt â didwyll laeth, a magwn ei ŵyn â'i air o bryd i bryd, fel y cynnyddont ar ei ddelw. Goruchwyliaeth nefol a ymddiriedwyd i ni—un bwysig yw, a mawr fydd ein cyfrifoldeb!

Cyd-lawenychaf â'r Saint hefyd yn nyfodiad fy anwyl frodyr Thos. Jeremy a Daniel Daniels i'w plith; gwn mai dynion duwiol y'nt, a'u calonau yn ngwaith yr Arglwydd, a'u heneidiau yn hiraethu am lesiant y Saint a llwyddiant teyrnas eu Duw. Gwn i'w bucheddau fod yn gyferbyniol i hyny, ac yn addurn i'w proffes, er pan yr ymadawsant o'r wlad hon—yn Seion, ac yn ol. Gobeithiaf y mawryga y Saint eu braint o gael y fath ddynion i'w cyfarwyddo, ac y byddant yn fendithiol yn eu cylchoedd yn gyferbyniol i'w breintiau mawr—y ddysgeidiaeth odidog, a'r cynnysgaethiad nerthol a gawsant yn Seion,—y gwelir eu ffrwyth yn creu sêl adnewyddol, ac yn trosglwyddo goleuni lle yr elont. Saint hynaws, cewch ynddynt ddynion i Dduw, teilwng o'ch ymddiried, a galluog i'ch arwain trwy gyfarwyddid yr Ysbryd sydd ynddynt.—Yr Arglwydd a fendithia eu bendithwyr, a gysura eu cysurwyr, ac a achuba eu hufyddion hwynt.

Weithian, hynaws Saint, am ennyd ffarweliwn, gan ddeisyf eich gweddiau taer am nerth i gyflawni y dyledswyddau pwysig a ymddibynant arnaf, fel trwy hyn, a'm hymdrech, y byddwyf o fendith i bawb ag y dymunwn. Duw, yr hwn a arweiniodd Israel gynt o gaethiwed i ryddid a llawnder, ac a'u gwnaeth yn genedl ogoneddus iddo ei hun, a drugarhao wrth ei blant cystuddiedig a gormesiedig yn Nghymru, ac a'u gwaredo oll ar frys i fwyniant o ryddid, hawddfyd a dedwyddwch Seion waredol, yw gweddi barhaus, Eich brawd yn Nghrist,

D. JONES.

# PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 263.]

Y BRIODAS gyntaf y mae genym hanes am dani, yw eiddo ein rhieni cyntaf. Ar ol i'r Arglwydd lunio Efa, efe "a'i dyg at y dyn. Ac Adda a ddywedodd, Hon weithian sydd asgwrn o'm hesgyrn i, a chnawd o'm cnawd i: hon a elwir gwraig, oblegid o wr y cymmerwyd hi. O herwydd hyn yr ymedy gwr â'i dad, ac â'i fam, ac y glyn wrth ei wraig: a hwy a fyddant un cnawd" (Gen. ii, 22—24). Dyma briodas ag y gweinyddodd yr Arglwydd yn bersonol ynddi—priodas rhwng dau fod anfarwol. Yr oedd Adda ac Efa wedi eu corffoli yn y fath fodd fel nad oedd gan farwolaeth lywodraeth ar eu cyrff; yr oeddynt yn alluog i fyw yn oes oesoedd. Nid oedd marwolaeth yn y corffoliad; trwy drosedd y daeth i'r byd; gelyn ydoedd—traws-feddiannwr —drwg ag a ddygodd dyn arno ei hun, neu fel y dywed Paul, "Trwy un dyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod" (Rhuf. v, 12). Pe na ddaethai pechod i'n byd, ni fuasai marwolaeth yn adnabyddus yn y greadigaeth hon; o ganlyniad ein rhieni cyntaf a fuasent yn byw heddyw mor wridog, ac mor hardd, ac mor llawn o bob bywiogrwydd a nerth anfarwoldeb, ag yn moreu y greadigaeth; ni fuasai miliynau o oesau wedi gwneyd dim effaith ar eu cyrff anfarwol; buasent mor barhaol â gorsedd y Jehofah, ac mor hirbarhaus â thragywyddoldeb ei hun. Cofiwch, ynte, i'r Arglwydd, pan roddodd efe Efa i Adda, iddo roddi gwr anfarwol i wraig anfarwol: efe a'u gwnaeth yn un cnawd, nid dros amser, nid dros un gyfnod benodol o barhad, nid hyd angeu—canys nid oedd yr anghenfil hwnw yn y greadigaeth ag oedd y pryd hwnw wedi ei newydd lunio a'i chyhoeddi yn "dda iawn"—eithr efe a'u cyssylltodd yn un, fel un cnawd, i fod mewn undeb annattodadwy tra yr elai heibio oesoedd tragywyddol, neu tra y byddai Duw ei hun mewn bod.

Eithr dyn, trwy anufydd-dod, a agorodd y pyrth i'r gelyn; ac angeu a ddaeth i mewn wedi ei arfogi â dialedd ofnadwy, a chyda gwên ellyllaidd eisteddodd ar orsedd y byd newydd, ac wedi ymwisgo â mawrhydi erchyll cyhoeddodd ei hun yn "Frenin y Dychryniadau." Mae pob peth yn teimlo ei gyffyrddiad difaol; mae yr holl genedloedd a'r cenedlaethau yn cael eu darostwng i'r

llwch; dystryw ac anghyfannedd-dra a ddilynant ei gamrau; yr holl greadigaeth a ocheneidia o dan grafanc ei law ormesol. O dan ei deyrnasiad dychrynllyd yr alltudiwyd ein rhieni cyntaf o bresennoldeb eu Creawdwr—y dietifeddwyd hwynt o ardd Eden —y darostyngwyd hwynt i weithio a llafurio er cynnyrchu ymborth o'r ddaear a felldithiwyd o achos dyn. Yr oedd hadau marwolaeth wedi ymgymmysgu hyd y nod â'r tir; yr oeddynt yn ymgorffoli yn mhob llysieuyn; yr oeddynt yn gymmysgedig â phob math o ymborth a godid o'r tir; yr oedd yr holl greadigaeth anifeilaidd, ynghyd â dyn ei hun, wedi cyfranogi o honynt; ac felly yr oedd marwolaeth wedi cymmeryd gafael gadarn yn mhob bod byw; a chyrff anfarwol Adda ac Efa a dderbyniasant y felldith angeuol—rhoddasant ffordd—soddasant—buont feirw—eu cyrff a ddychwelasant i'r llwch.

Eithr yr hyn a gollwyd trwy y cwymp, a adferwyd trwy Iesu Grist. A ddygodd y pechod gwreiddiol felldith ar y ddaear? Y mae yr iawn yn gwaredu oddiwrth y felldith hono, ac yn adferu y greadigaeth hon i'w harddwch, daioni, a'i gogoniant dechreuol. A wahanodd y pechod hwnw gorff ac ysbryd, dinystrio gwaith anfarwol y Creawdwr, a'i ddarostwng yn isel i'r llwch? Y waredigaeth sydd yn Nghrist a adfera "asgwrn at asgwrn," aelod at aelod, a chymmal at gymmal; tra yr adferir cnawd, gewynau, a chroen i'w lleoedd dechreuol; yr adferir yr ysbryd i'w gorff, ac yr adferir y corff i anfarwoldeb. A wahanodd marwolaeth wr a gwraig, ac ysgaru yr hyn a gyssylltodd Duw yn "un cnawd," anfarwol a thragywyddol yn ei natur? Iawn Crist a adgyweiria y rhwyg, a adfera yr anfarwol Efa i'r anfarwol Adda, a'u cyssyllta hwynt etto fel un cnawd, i beidio cael eu gwhanu byth mwy, ac a adawa etto i'r gwr cyfreithlawn fwynhau cymdeithas ei wraig gyfreithlawn.

Ni ofyna yr adferiad o Efa i Adda yn yr adgyfodiad unrhyw seremoni newydd o briodas; canys ni ysgariwyd hwynt erioed yn gyfreithlawn; nid oedd y cwymp yn ysgariad, canys hwy a fuont byw am ganrifoedd yn eu sefyllfa farwol fel gwr a gwraig; nid oedd marwolaeth y corff yn ysgariad, eithr yn unig yn wahaniad dros dymmor; o ganlyniad, yr oeddynt yn wr a gwraig yn y cyflwr ysbrydol rhwng marwolaeth a'r adgyfodiad: nid oes dim yn gyssylltiedig â'r adgyfodiad ag sydd â thuedd ynddo i ysgaru; yn y gwrthwyneb, mae yr adgyfodiad, yn lle bod yn allu i ysgaru

neu wahanu, yn allu i adferu ac uno: o ganlyniad, ni fydd anghen i Adda ac Efa gael eu priodi ar ol yr adgyfodiad, canys ni fydd byth un fynyd, er amser eu priodas yn ngardd Eden hyd oesoedd diddiwedd tragywyddoldeb, ag y peidiant fod yn gyfreithlawn wr a gwraig.

Pe buasai yr Arglwydd wedi aros hyd ar ol y cwymp cyn gweinyddu priodas ein rhieni cyntaf, a'u cyssylltu y pryd hyny yn wr a gwraig yn unig hyd angeu; pan derfynai yr amser ac y deuai angeu, ni fuasai y cytundeb priodasol mwyach yn safadwy, a hwythau a beidient o'r fynyd hono i fod yn gyfreithlawn wr a gwraig; a chan nad oes priodi ar ol yr adgyfodiad, hwy a arosent i bob tragywyddoldeb mewn cyflwr unigol.

Pe methai yr Arglwydd adferu ei wraig i Adda ar ol yr adgyfodiad, yna ni fuasai y brynedigaeth trwy Grist yn gyfled â'r cwymp. Yr hyn a gyssylltwyd fel "un cnawd" gan yr Arglwydd ei hun, a wahanwyd, eithr nid a ysgarwyd gan y gelyn angeu; os nad adfera Crist yr hyn a gymmerodd y gelyn ymaith, yna nid yw y brynedigaeth yn gyflawn; yna marwolaeth a feddai fwy o allu nâ'r Hwn sydd yn cadw "agoriadau marwolaeth," yr hyn a fyddai yn anysgrythyrol a gwrthun. Mae gan Grist awdurdod ar y diafol, ac y mae gan y diafol awdurdod ar farwolaeth. (Gwel Heb. ii, 14.) A Christ a ddinystria weithredoedd y diafol oddiar y ddaear, a marwolaeth ac uffern a alltudir i'r llyn o dân a brwmstan; a'n rhieni cyntaf, wedi eu gwaredu oddiwrth y gelynion hyn, a fyddant mor anfarwol ag yr oeddynt ar ddydd eu priodas.

Yr oedd undeb y ddau fôd anfarwol hyn yn y cyfammod priodasol, i'r dyben o gyfreithlawn liosogi eu rhywiau; canys y gorchymyn mawr cyntaf a roddwyd i ddyn oedd "ffrwytho, ac amlhau, a llanw y ddaear." A rhyngodd bodd i Dduw y cai dyn ufyddhau y gorchymyn pwysig hwn yn unig drwy yr ordinhad briodasol. Yr oedd pob cyssylltiad arall o'r rhywiau, megys ag y profasom yn barod, yn cael eu gwahardd, dan y cospedigaethau trymaf. Rhaid cofio pan roddwyd y gorchymyn mawr hwn, a phan y cyssylltwyd hwynt yn un cnawd i'r dyben o'i ufyddhau, eu bod yn anfarwol gorff ac ysbryd. Ni wnaethant ufyddhau y gorchymyn hwn tra yn eu sefyllfa anfarwol; hwy a syrthiasant o anfarwoldeb i farwoldeb, ar ol yr hyn hwy a ddechreuasant liosogi eu rhywiau syrthiedig ar y ddaear. Pe buasent hwy wedi ufyddhau

i'r gorchymyn cyn y cwymp, byddai yn anmhosibl iddynt i genedlu plant o farwol gnawd ac esgyrn, darostyngedig i farwolaeth. Nis gallai plant marwol ddeillio oddiwrth rieni anfarwol.

A ydyw yn bosibl i fodau anfarwol liosogi? Os nad ydyw, yna paham y rhoddodd Duw y fath orchymyn i'r anfarwol wrryw a benyw? Efallai y dywedir iddynt gyflawni y bwriad a gynnwysid yn y gorchymyn ar ol iddynt trwy drosedd fyned yn farwol: eithr a orchymynodd Duw iddynt bechu, a syrthio, a myned yn farwol, er mwyn cenedlu hiliogaeth farwol, fel y gellid ufyddhau ac anrhydeddu y gorchymyn cyntaf? A orchymynai Efe iddynt anufyddhau un gyfraith er mwyn cadw un arall. Pe nas gallasent liosogi tra yn anfarwol, yr oedd yn anhebgorol anghenrheidiol iddynt dori un gyfraith er ufyddhau un arall. Eithr, ar y llaw arall, pe gallasent liosogi tra yn anfarwol, yna eu hiliogaeth o anghenrheidrwydd a fyddent yn anfarwol hefyd; pe amgen, deuai marwolaeth i'r byd heb bechod, yr hyn ni allai neb gredu am fynyd. Pwy nad all weled yn rhwydd, ynte, fod bodoldeb marwol ddyn ar y ddaear hon yn ymddibynu ar y cwymp? Pwy sydd mor ffol ei amgyffred nas gall ganfod, pe na syrthiasai ein rhieni cyntaf, nas gallem ni, fel bodau marwol, fod yn bodoli? Nis gallai fod plant marwol o gnawd a gwaed fod wedi eu geni.

*(I'w barhau.)*

---

## AML-WREIGIAETH.

HYBARCH OLYGYDD,—Diammau genyf fod yr athrawiaeth o aml-wreigiaeth yn mhlith y Saint wedi achosi syndod dirfawr i amryw o ddarllenwyr eich cyhoeddiad, heblaw fy hun, os nad felly i rai o'r Saint eu hunain. A chan fod hyny wedi, ac yn cryfhau breichiau y gwrthwynebwyr rhagfarnllyd i ennyn ynddynt fwy o gasineb a gwawd yn erbyn y sect ag y mae yn mhob man ddweyd yn ei herbyn; a chan eich bod hefyd yn arferol o broffesu nad oes unrhyw bwnc o athrawiaeth yn egwyddorion y Saint yn gwrthdaro yn erbyn athrawiath Crist a'i Apostolion, am hyny yr wyf yn erfyn eich cymhorth i ddigaregu y ffordd, ac i symud y rhwystrau ag sydd hyd yn hyn yn ymddangos i mi, ac efallai i ereill hefyd, yn ammheus, yn ol rhediad y Testament Newydd, er nad felly yn ol yr Hen Desta-

ment. Nodaf rai o lawer o fanau ag y dymunaf eich sylw arnynt.

Un peth yw, "Bydded i bob gwr ei *wraig* ei hun," nid ei *wragedd*.

Peth arall, "Rhaid i esgob fod—yn wr un wraig."

Hefyd, "Plant y byd hwn sydd yn gwreica ac yn gŵra, eithr y rhai a gyfrifir yn deilwng i gael y byd hwnw, a'r adgyfodiad oddiwrth y meirw, nid ydynt yn gwreica nac yn gŵra," &c. (Luc xx, 33—36).

Hefyd, eich sylwadau ar athrawiaeth Paul yn 1 Cor. vii, o berthynas i bwnc priodi, ac o aros fel ef ei hun.

Os byddwch mor garedig â gwneyd rhai sylwadau eglurhaol ar y pethau hyn, bydd yn hyfryd gan ddarllenwr cysson eich cyhoeddiad eu gweled. WM. PUGH.

---

## ATEBIAD I'R UCHOD.

Y peth cyntaf a nodir yw, "'Bydded i bob gwr ei *wraig* ei hun,' nid ei *wragedd*." Mae ein gohebydd yn cam-ddeall rhediad y geiriau yna, trwy feddwl eu bod yn dal perthynas ag aml-wreigiaeth. Godineb yw y pwnc a drinia Paul; canys dyweda fel hyn—"Ond rhag godineb, bydded i bob gwr ei wraig ei *hun* [ac nid gwraig rhywun *arall*], a bydded i bob gwraig ei gwr ei hun [ac nid eiddo arall]." Nis gallai Paul wneyd yn well nag ysgrifenu "gwraig" yn lle gwragedd, gan nad yw yn debyg fod "*pob* gwr," y pryd hwnw, yn fwy nag yn bresennol, yn meddu lliosogrwydd o wragedd; ac felly buasai dywedyd, "Bydded i bob gwr ei *wragedd* ei hun" (er fod aml-wreigiaeth yn bodoli), yn hollol anmhriodol.

Yr ail beth yw, "Rhaid i esgob fod—yn wr un wraig" (1 Tim. iii, 2). Wel, yn ateb i hyna dywedwn, os oedd yn rhaid i esgob neu ddiacon fod yn wr un wraig, nad yw hyny yn profi fod yn rhaid i bawb ereill fod yn wyr un wraig; eithr profa yn y gwrthwyneb, y meddai rhai yn yr eglwys liosogrwydd o wragedd ar y pryd; canys pa achos oedd sôn am *un* wraig i esgob neu ddiacon, os nad oedd ereill yn meddu ychwaneg. Paul, fe ddichon, oedd yn gwybod oreu pa reswm oedd ganddo dros gaethiwo esgob neu ddiacon i un wraig. Efallai y meddyliai fod yn rhaid i esgob a diacon gael *un* wraig o leiaf, nad beth am ragor, fel trwy ymarfer llywodraethu eu teuluoedd yn dda, yr

addasid hwynt i lywodraethu pethau tymmorol yr eglwys; a dichon mai yr hwn a allo lywodraethu y nifer liosocaf o wragedd, yw yr addasaf i lywodraethu yr eglwys, ac felly y dylai esgob neu ddiacon gael eu gorfodi i gael un wraig o leiaf. Ond efallai, o'r ochr arall, y golygai Paul fod llywodraethu mwy nag un wraig, yn fwy o waith nag a allai esgob neu ddiacon wneuthur, gyda gofalu am yr eglwys; ac y dylent hwy, o ganlyniad, fod yn wyr un wraig, ac nid yn wyr amryw-wragedd, fel rhai o'u brodyr. Y mae swyddi esgob a diacon at weinyddu yn achosion tymmorol yr eglwys, a dichon fod amddifadrwydd hollol o wragedd, neu ynte ormod o honynt, yn rwystr i'w gwaith eglwysig; tra y gallai rhai yn dal swyddi uwch yn yr eglwys, fel y patriarchiaid a'r prophwydi, neu rywun fel Paul, wneuthur gwaith llawer mwy pwysig, trwy feddu llawer, neu trwy fod heb un. Mae llawer o ymadroddion yn ysgrifeniadau Paul yn gofyn ysgrythyrau newyddion er eu hegluro, a dysgwylied pawb am danynt.

Yn nesaf, dymunir eglurhad ar y geiriau yn Luc xx, 33—36, sef—"Plant y byd hwn sydd yn gwreica ac yn gwra; eithr y rhai a gyfrifir yn deilwng i gael y byd hwnw, a'r adgyfodiad oddiwrth y meirw, nid ydynt yn gwreica nac yn gwra; canys nis gallant farw mwy, oblegid cyd-stad ydynt â'r angylion; a phlant Duw ydynt, gan eu bod yn blant yr adgyfodiad." Sylwn yn gyntaf, mai plant y byd hwn yn unig sydd yn gwreica ac yn gwra; a chredwn mai plant y byd hwn, yn y cyssylltiad yma, yw yr holl rai a genedlir ynddo yn y cnawd, y da a'r drwg. Gwreica a gwra yw priodi a rhoi i briodas (fel y cyfieithir yr un geiriau Groeg yn Math. xxiv, 38): y dyn sydd yn priodi, a'r ddynes a roddir i briodas. O ganlyniad, yn y byd hwn yn unig y mae priodi; a'r rhai a gyfrifir yn deilwng i gael y byd hwnw, a'r adgyfodiad oddiwrth y meirw, ni fyddant yn priodi na rhoi i briodas byth wedy'n, gan mai yn y byd hwn y gwneir hyny. Yma mae parotoi gogyfer â byw yn dragywyddol; ac os ydym am feddu gwragedd, neu rywbeth arall, yn y byd a ddaw, mae yn rhaid eu sicrhau yn y byd hwn. Fe ymddengys y bydd rhai yn annheilwng i gael y byd hwnw, ynghyd â'r adgyfodiad; ac o ganlyniad, ni fyddant hwy yn gyd-stad â'r angylion, nac yn blant i Dduw, eithr yn blant i ddiafol, a'u rhan fydd y llyn o dân. Eithr yn mhlith y rhai a gyfrifir yn deilwng i etifeddu y byd arall, y bydd miloedd lawer na fyddant wedi cael eu priodasau

wedi eu selio dros dragywyddoldeb, ac ni fyddant hwy amgen nag angylion a gweision i'r rhai a fyddant wedi sicrhau eu priodasau, ac wedi cael eu gwneyd yn freninoedd, ac hyd y nod yn Dduwiau. Os nad oedd y wraig a briodwyd gan y saith brawd wedi ei selio i neb o honynt dros dragywyddoldeb, yna yn yr adgyfodiad byddant oll "fel angylion Duw yn y nef," gan na allant wreica na gwra byth wed'yn. Y sawl a gyssylltir ar y ddaear gan Dduw yn y cnawd, nis gwahanir byth, eithr byddant yn wr a gwraig i bob tragywyddoldeb; eithr yr hyn a gyssyllto dyn, heb awdurdod ddwyfol, a wahanir yn angeu.

Yn nesaf, ac yn olaf, dymunir eglurhad ar athrawiaeth Paul, yn 1 Cor. vii, o berthynas i bwnc priodi, ac o aros fel ef ei hun. Nid yw Paul, yn y bennod dan sylw, yn ymyraeth dim â'r athrawiaeth o aml-wreigiaeth, eithr ymyraeth y mae â phwnc arall, sef annog i beidio priodi oll, ac aros fel ef ei hun. "Mi a fynwn," ebe fe, "fod pob dyn fel fi fy hun;" a "Da yw iddynt os arosant fel finnau." Fe wyddai Paul i Dduw roddi gorchymyn i amlhau a llanw y ddaear, ac nas gellid gwneuthur hyny heb briodi, a bod ei ddysgeidiaeth ef yn milwrio yn erbyn gorchymyn Duw, os nad oedd galwad neillduol am eithriad. Ac er cyfiawnhau ei hun, efe a ddywed yn adn. 26, "Yr wyf yn tybied mai da yw hyn, o herwydd yr anghenrhaid (*distress*) presennol, mai da, meddaf, i ddyn fod felly." Gwelwn, ynte, fod rhyw achos neillduol yn galw am y cynghorion a roddodd Paul, neu ei fod ef yn tybied felly; ac hefyd, cofiwn mai oddiwrth y "lleiaf o'r apostolion" y deilliasant. Gallai Paul fod wedi newid ei farn ryw amser ar ol ysgrifenu at y Corinthiaid, ac ymbriodi, o ran dim a allwn ni brofi i'r gwrthwyneb; ac felly nis gallwn ddweyd pa un a fydd efe yn wr priod yn y byd arall, trwy fod wedi ymbriodi yn bersonol ei hun, neu trwy ryw ddirprwyaeth: eithr dysgwyliwn amser cyn hir ag a eglura bob dirgelion, ac a wna bob peth yn oleu.

Hyderwn yn awr y boddlona ein gohebydd ar yr ychydig oleuni a roddasom, hyd nes y cynhyrfir rhywun i roddi goleuni rhagorach. Trwy fod dipyn yn amyneddgar, fe gawn oleuni ar bob peth. Mae amser o'n blaen, a phob dydd a draetha ymadrodd, a phob nos a ddengys wybodaeth; ac maes o law, ni a gawn ddeall pob peth megys ag y mae.

## EMYN.

YR Iesu yn awr a ddangosodd
Yr hyn a ordeiniodd ei Dad,
A'r Ysbryd a roddodd arwyddion
I ddynion tylodion y wlad:
Dyfethwyd doethineb y doethion,
Gostyngwyd rhai breision eu brig;
Ac am fod y goncwest i'r gweiniaid,
Mae'r gelyn a'i ddeiliaid yn ddig.

Gan Seintiau y Dyddiau Diweddaf
Mae'r grefydd fanylaf yn awr,
A hon sydd i gael ei chyhoeddi,
Nes llenwi holl wyneb y llawr:
Ond pan fyddant hwy yn ymadael,
Ceir gweled y rhyfel a'r haint;
Pe gwyddai y gelyn ei adfyd,
Ni soniai am symud y Saint.

ROBERT EVANS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

YR oedd hen ddinas Babilon gynt yn fwy nâ chymmaint arall â Llundain a'i chyffiniau yn bresennol, ac yr oedd Ninefeh hefyd yn agos cymmaint arall.

PAN ddywedom y diwygiwn, cofiwn mai ein gweithredoedd sydd i brofi hyny.

---

TALIADAU o EBRILL 22 HYD EBRILL 28.—Pontypridd, 5s 9c; Aberamman, 3s; Rymni, £2; Merthyr, 14s; Troedyrhiw, 2s. —Cyfanswm, £3 4s 9c.

CYMMANFAOEDD Y GOGLEDD.—Cynnelir cymmanfa Sir Fflint, ar y 15fed o Fai; Sir Ddinbych, ar yr 22ain; Dyffryn Conwy, ar y 29ain; Sir Fon, ar y 5med o Fehefin; a Sir Feirionydd, ar y 12fed.

CYFEIRIAD—Capt. D. Jones, Newcastle-street, Merthyr-Tydfil.

"J. J."—Nis credwn nas gŵyr efe yn gystal â ninnau, mai y pen sydd yn llywodraethu y corff, hyd oni roddo ei enw i ni yn llawn.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 19.] MAI 7, 1853. [CYF. V.

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 288.]

AR ol i'n rhieni cyntaf fyned yn syrthiedig, ac o ganlyniad yn farwol, yr oedd yn anmhosibl iddynt ufyddhau y gorchymyn cyntaf i amlhau, fel bodau anfarwol, a chyfodi plant anfarwol. Mae yn wir, y gallent gynnyg yn eu lle hiliogaeth farwol, darostyngedig i farwolaeth, yn lle un anfarwol; eithr a dderbyniai yr Arglwydd hyny, fel yn ddigonol i ateb gofynion y gorchymyn mawr a roddwyd iddynt fel bodau anfarwol? A ystyriai Efe y gorchymyn wedi ei anrhydeddu a'i gyflawni, trwy gael ei anrhegu ag hiliogaeth syrthiedig, marwol, a llygredig, yn lle hiliogaeth anfarwol a nefolaidd, yn blaguro yn holl newydd-der bywyd tragywyddol? Os na fydd Duw yn foddlongar ar y fath beth â hyny, a fyddai yn rhywbeth mwy nâ rhesymol fod iddo ddyfeisio cynllun trwy yr hwn y gallai ein Rhieni cyntaf gael eu hadferu i anfarwoldeb, ac i'r ddaear, a thrachefn gael eu gosod mewn sefyllfa i liosogi eu rhywiau fel bodau anfarwol? A allant hwy byth ufyddhau y gyfraith hono, fel ag i ateb y dyben a'r bwriad o'i rhoddiad, os na chant, fel bodau anfarwol, "amlhau a llanw y ddaear" ag hiliogaeth anfarwol? Ni oddefa Duw i gwymp dyn rwystro yr amcan mawr a thragywyddol ag oedd ganddo mewn golwg yn y gorchymyn hwnw. Yr oedd y brynedigaeth trwy Grist wedi ei bwriadu i adferu y gwrryw a'r fenyw i anfarwoldeb, fel yr adennillid yr hyn a gollasant trwy y cwymp. Os amddi-

fadodd y cwymp hwynt o'r gallu o gyfodi hiliogaeth anfarwol, gwna y brynedigaeth adferu y fraint hono, neu ynte ni fydd yn gyflawn. Mae yn rhaid i Adda, gan hyny, gael wedi ei hadferu iddo ei wraig anwylaidd—ei Efa anfarwol; ac y mae yn rhaid iddynt gael eu gosod ar y Ddaear Newydd, wedi eu gwaredu oddiwrth effeithiau eu troseddiad hwy, lle y gallant "amlhau a llanw" yr unrhyw â phlant anfarwol—megys ag y gorchymynwyd iddynt wneuthur yn y lle cyntaf, eithr a fethasant, o herwydd trosedd. Fel hyn y dangosa Duw i'w holl greadigaethau, nad yw y gelyn wedi gorchfygu ei fwriadau a'i amcanion Ef, eithr y cant oll eu cyflawni a'u cwblhau, a bod y Diafol, yr hwn a geisiodd eu dadymchwelyd, ei hunan wedi ei orchfygu a'i alltudio o'r greadigaeth hon i'w le ei hun.

Os priodwyd ein Rhieni cyntaf dros oesoedd tragywyddol, i'r dyben o amlhau hiliogaeth anfarwol, nis gallwn am fynyd dybied y daw cyfnod byth trwy bob parhad dyfodol, pan y peidiant ufyddhau y gorchymyn hwn. Am hyny, eu meibion a'u merched eu hunain, ar wahan oddiwrth eu wyron, a fyddant mor lliosog â llwch y ddaear, neu mewn geiriau ereill, ni fydd diwedd ar eu cynnydd. Yn ol y cyfartalrwydd o un yn y flwyddyn, mewn mil o filiynau o flynyddoedd, hwy a boblogent ddaear gymmaint â hon, â'u meibion a'u merched eu hunain; a phe gadawem i'n meddyliau ymestyn yn mhellach etto i oesoedd dyfodol tragywyddoldeb, ni a allem ddywedyd yn hyderus, y daw y cyfnod pan fydd eu plant eu hunain, heb gyfrif eu disgynyddion (sef eiddo eu plant), yn ddigon lliosog i boblogi cynnifer o fydoedd ag a ddarganfyddwyd trwy gymhorth y pellwelyron mwyaf galluog; a gallem ddywedyd am danynt, "Ar gynnydd eu llywodraeth," neu eu teyrnasoedd, "ni fydd diwedd."

Eithr a oedd y gorchymyn i amlhau yn cael ei gyfyngu i'n rhieni cyntaf? Nac oedd; estynid ef i'w hiliogaeth hefyd. Os gofynai y gorchymyn gan Rieni anfarwol i amlhau, mae yn ddiau y gofynai yr un peth gan y plant; eithr fe ellir dywedyd, fod y plant, trwy drosedd y Rhieni, yn cael eu geni yn farwol, ac o ganlyniad, na feddant y fraint o gyfodi hiliogaeth anfarwol. Eithr y mae yn rhaid cofio, mai yr un pechod ag sydd yn rhwystro y plant, a rwystrodd hefyd y rhieni cyntaf rhag cyflawni y gorchymyn hwnw; a'r un brynedigaeth ag sydd yn gwaredu y rhieni, sydd hefyd yn gwaredu y plant, ac yn eu had-

feru oll i anfarwoldeb. Am hyny, os yw y plant wedi eu priodi dros dragywyddoldeb, yn gystal â thros amser, trwy awdurdod Duw, yr un fath ag y cafodd eu Rhieni cyntaf, hwy a gyfodant, gyda hwythau, ar ol yr adgyfodiad, hiliogaeth ddiddiwedd o fodau anfarwol. Yn y modd yma, mae y plant, yn gystal â'r rhieni, yn cael eu gosod mewn cyflwr gwaredigol, yn yr hwn y gallant yn dragywyddol ufyddhau y gorchymyn i amlhau.

Eithr y rhai hyny ag nad ydynt, yn y bywyd hwn, yn myned i'r cyfammod tragywyddol o briodas, yn ol y cynllun a osodwyd gan y pâr anfarwol cyntaf, nis gallant byth ufyddhau i'r gorchymyn mawr cyntaf. Os dyweda neb eu bod yn ufyddhau hwnw yn y bywyd hwn, iddynt hwy yr atebwn, na cha hiliogaeth syrthiedig, llygredig, a marwol, byth ei derbyn, fel yn ddigonol i ateb dybenion y gyfraith fawr hono a roddwyd i ddyn yn ei sefyllfa anfarwol. Nis gall bodau anfarwol ond yn unig ufyddhau y gyfraith hono yn gymmeradwy, yn ol y gwir fwriad a'r dyben ag oedd gan yr Arglwydd mewn golwg. Y rhai, gan hyny, nad ydynt yn myned i'r cyfammod tragywyddol o briodas, nis gallant byth ufyddhau y gyfraith hono; ac o herwydd nad ydynt wedi gosod eu hunain mewn sefyllfa i'w hufyddhau, hwy a gant allan yn yr adgyfodiad, na fydd ganddynt gymdeithion cyfreithlawn, ac nas gallant fwynhau yr un cyflawnder o ogoniant â'u Rhieni cyntaf, ac ereill a gyssylltwyd yn dragywyddol gan yr Arglwydd yn un cnawd. Rhaid eu rhifo hwy, gan hyny, gyda'r angylion nad ydynt yn cadw y gyfraith; tra y bydd i'r rhai a'i cadwant, eistedd ar orseddau barn, a barnu yr angylion hyny, a'u gwneyd yn weision iddynt, a hwy a'u gwasanaethant trwy genedlaethau diddarfod yn oes oesoedd, canys nid oes gallu gan angylion i ymeangu trwy gynnyddiad ar hiliogaeth. Eithr i'r rhai a gadwant y gyfraith trwy y cyfammod tragywyddol o briodas, yr ychwanegir anrhydedd, a gogoniant, a llywodraeth, a bywydau tragywyddol, trwy oesoedd diddarfod mewn bydoedd diddiwedd. Trwy y cyfryw rai y poblogir bydoedd â'u meibion a'u merched eu hunain; a'u teyrnasoedd tragywyddol a liosogir fel sêr y nefoedd, y rhai ni all neb eu rhifo. Trwy y cyfryw rai y gogoneddir Duw yn mharhad ei weithredoedd, ac yn eangiad y Bydyssawd, yn mhrynedigaeth a gogoneddiad bydoedd, ac yn nghynnydd bodau deallgar, anfarwol, a Duwaidd, ag sydd yn etifeddu holl gyflawnder ei berffeithderau mawrion ei hun.

Nid oes gan un dyn anysbrydoledig awdurdod oddiwrth Dduw i gyssylltu y gwrryw a'r fenyw yn y cyfammod priodasol. Mae priodas yn ordinhad o eiddo Duw, ac yr ydym yn darllen mai "yr hyn a gyssylltodd Duw, na wahaned dyn" (Mathew xix, 6). Lle byddo dyn yn traws-feddiannu awdurdod i weinyddu yn ordinhad Duw, ac yn cyssylltu y rhywiau mewn priodas, mae y fath undebau yn anghyfreithlawn yn ngolwg Duw, er y gallant fod yn gyfreithlawn yn ol cyfreithiau a llywodraeth dynion. Nid yw yr awdurdod i weinyddu yn ordinhadau Duw wedi bod ar y ddaear er y gwrthgiliad mawr, hyd y ganrif bresennol. Mae rhywbeth fel dwy ganrif ar bymtheg wedi myned heibio er pan gollwyd yr awdurdod ar yr *hemisphere* ddwyreiniol i weinyddu mewn unrhyw un o ordinhadau Duw. Yn ystod y gyfnod hir hona y mae priodasau wedi cael eu gweinyddu yn ol defodau llywodraethau dynol, gan ddynion anysbrydoledig, heb feddu un awdurdod oddiwrth Dduw; o ganlyniad, mae eu holl briodasau, fel eu bedyddiadau, yn anghyfreithlawn gerbron yr Arglwydd. Nodwch allan i ni wr a gwraig ag a gyssylltodd Duw, oddiar yr ail ganrif o'r cyfrif Cristionogol hyd y bedwaredd ar bymtheg, os gall rhywun. Nis gellir cael y fath ryfeddod yn mhlith Cristionogion nac Iuddewon, Mahometaniaid na Phaganiaid. Maent oll heb brophwydi na dynion ysbrydoledig—maent oll heb awdurdod ddwyfol: nid oedd gan neb awdurdod i selio ar y ddaear y cyfammod priodasol, fel y selid ef yn y nefoedd; nid oes neb yn y gyfnod hir hona wedi clywed llais yr Arglwydd yn eu gorchymyn i weinyddu yn yr ordinhadau cyssegredig hyny.

Mae priodasau, ynte, yn mhlith yr holl genedloedd, er yn gyfreithlawn yn ol cyfreithiau dynion, wedi bod yn anghyfreithlawn yn ol cyfreithiau, awdurdod, a sefydliadau y nefoedd. Mae yr holl blant a anwyd yn ystod y gyfnod hir hona, er yn gyfreithlawn yn ol arferion a chyfreithiau cenedloedd, yn anghyfreithlawn yn ol trefn ac awdurdod y Nefoedd. Y pethau hyny a gyflawnir trwy awdurdod dynion, Duw a'u dadymchwela ac a'u dinystria, a hwy a fyddant yn wag a dirym yn nydd yr adgyfodiad. Pob peth ag a ordeiniwyd gan Dduw, ac a gyflawnwyd ac a seliwyd trwy ei awdurdod, a arosant ar ol yr adgyfodiad. Yr hyn sydd o ddyn, a fydd yn ddirym ac yn ddiawdurdod ar ol marwolaeth; yr hyn sydd o Dduw, a barha yn dragywydd. Gwerin lywodraethau a theyrnasoedd, gorseddau ac

amherodraethau, tywysogion ac awdurdodau, a phob peth arall o darddiad dynol, a deflir i lawr ac a ddinystrir, a hwy a ddiflanant ymaith fel "breuddwyd gweledigaeth nos;" eithr pob peth ag a fyddo wedi ei selio ar y ddaear ac yn y nefoedd, a erys yn dragywydd, ac ni fydd diwedd arno.

Wedi profi tragywyddoldeb y cyfammod priodasol, ac egluro amcan yr ordinhad ddwyfol hon, dichon mai nid anmhriodol fyddai chwilio yn ofalus i rai o'r canlyniadau ag sydd o angenrhaid yn dylifo oddiwrth y sefydliad dwyfol hwn. Pawb ag sydd yn cyfaddef undeb tragywyddol gwr a gwraig, ydynt yn rhwym o gyfaddef fel canlyniad anhebgorol amledd gwragedd; canys y mae amgylchiadau yn y rhai nis gallai hyn yn rhwydd gael ei ochelyd: er enghraifft, mae Mr. A yn priodi Miss B dros amser a thros bob tragywyddoldeb; yn mhen amser y mae ei wraig B yn marw, gan adael amryw blant Mae y gwr gweddw yn priodi eilwaith â Miss C. Gofyniad—Pa fodd y caiff ei wraig C wr dros bob tragywyddoldeb? Amlwg yw fod yn rhaid iddi aros yn sengl, heb wr mewn ystad ddyfodol, neu ynte gael ei phriodi â Mr. A dros dragywyddoldeb yn gystal â thros amser. Os dewisa yr olaf, yna byddai gan Mr. A ddwy wraig ar foreu yr adgyfodiad. Drachefn, gallai Mr. A fod yn anffortenus trwy fod ei wraig C yn cael ei chymmeryd oddiwrtho trwy farwolaeth; os prioda efe y drydedd waith, yna byddai ganddo dair yn nhragwyddoldeb; ac felly yn mlaen. Drachefn hefyd, gall Mr. A farw o flaen ei wraig B; ei weddw a brioda ddyn ieuanc C dros y bywyd hwn yn unig, gan ei bod hi eisoes yn rhwym i'w gwr trengedig dros dragywyddoldeb. Gofyniad—Pan hawlia Mr. A ei wraig yn yr adgyfodiad, pa beth a wna Mr. C am wraig? Ateb—Mae yn rhaid iddo naill ai bod heb un, neu gael ei briodi i un arall yn y bywyd hwn; yn yr achos olaf, buasai dwy yn byw ganddo yn y bywyd hwn ar yr un amser. Am hyny, os yw priodas dros dragywyddoldeb yn osodiad dwyfol, fel y profasom yn helaeth ei bod, yna y mae amledd gwragedd yn osodiad dwyfol hefyd; canys y mae yr olaf o anghenrheidrwydd yn deillio allan o'r amgylchiadau a gyfodasant o barthed i'r blaenaf.

Gellir crybwyll enghraifft arall; mae yn dygwydd yn fynych fod llawer o fenywod ag na chawsant erioed gynnyg ar briodas oddiwrth wyr ieuainc yn y rhai y gallasent roi hyder i ymddiried eu hunain iddynt dros bob tragywyddoldeb. Gofyniad—A raid

i'r benywod hyn aros heb wyr yn y bydoedd tragywyddol? Ai ni fyddai yn llawer gwell i bob un o honynt gael eu cyssylltu mewn priodas â dyn ffyddlawn, fel Abraham, er y gallai fod yn wr priod yn barod, nag aros mewn cyflwr unigol i bob tragywyddoldeb? Ai ni fyddai yn llawer mwy o ddedwyddwch iddi hi fod yn ail, neu yn drydedd, neu yn bedwaredd wraig, ac felly gael ei gosod mewn sefyllfa i gyfodi hiliogaeth ddiddiwedd, a mwynhau gyda ei gwr yr holl ogoniant a'r anrhydedd o'i deyrnasoedd cynnyddol, nag aros fel angel neu wasanaeth-ferch, heb hiliogaeth, yn oes oesoedd.

A thrachefn, y mae llawer o wragedd gweddwon, gwyr y rhai ydynt yn marw heb gofleidio yr efengyl; dichon na cha y gwragedd gweddwon hyn byth gynnyg ar briodas gan wyr unigol. A adewir hwy heb ddarpariaeth ar eu cyfer yn y cyfammod tragywyddol o briodas? Ai ni fyddai yn fendith iddynt hwy gael eu gosod yn ben ar hiliogaeth liosog, gan y rhai y perchid ac yr anrhydeddid hwynt yn dragywyddol mewn cyssylltiad â'u gwyr? Pa wraig ffyddlawn a rhinweddol na ddewisai sefyll yn chwechfed neu yn seithfed gwraig i wr da a ffyddlawn, yn hytrach nâ bod heb wr oll trwy holl oesoedd diddiwedd tragywyddoldeb?

Pan gyfodo cenedl yn erbyn cenedl, a theyrnas yn erbyn teyrnas, ac y difäo y cleddyf o un eithafoedd o'r ddaear i'r llall, megys y mae'r prophwydi wedi rhag-lefaru y byddai yn y dyddiau diweddaf, miliynau lawer o dadau a brodyr a syrthiant ar faes y gwaed, tra y gadewir mamau, a merched, a gwragedd gweddwon, i alaru am eu colled. Pa beth a ddaw o'r benywod hyn? Ateb—Pregethir yr efengyl i lawer o honynt, a hwy a ffoant allan o blith y cenedloedd, ac a gesglir gyda'r Saint i Seion. O dan yr amgylchiadau hyn, fe fydd nifer y benywod yn llawer mwy nâ nifer y gwrrywod. Pa fodd y mae i'r gormodedd benywod i gael gwyr dros dragywyddoldeb? Ni a atebwn y gofyniad hwn yn ngeiriau Esaiah, "Ac yn y dydd hwnw saith o wragedd a ymaflant mewn un gwr, gan ddywedyd, Ein bara ein hun a fwytâwn, a'n dillad ein hun a wisgwn: yn unig galwer dy enw di arnom ni; cymmer ymaith ein gwarth ni" (Esaiah iv, 1). Felly gwelwn fod y gwarth o fod heb wr, yn llawer mwy nâ'r gwarth o fod saith o wragedd yn meddu un gwr; yn wir ni fydd yr olaf yn warth yn y byd; ni fydd amgen nâ'r unig foddion i gymmeryd gwarth ymaith; gan ei fod yn osodiad dwyfol, fe

geisir am dano yn awyddus, hyd y nod ar y gost o fwyta eu bara eu hun, a gwisgo eu dillad eu hun.

Dywed yr Apostol Paul, "Nid yw na'r gwr heb y wraig, na'r wraig heb y gwr, yn yr Arglwydd" (1 Cor. xi, 11). Os, yn wir, mai athrawiaeth wirioneddol yw, nad yw na'r gwr heb y wraig, na'r wraig heb y gwr, yn yr Arglwydd, yna y mae o'r pwys mwyaf fod pob un yn sicrhau cydymmaith yn yr Arglwydd, hyny yw, cael eu cyssylltu trwy awdurdod Duw yn un cnawd, nid yn unig dros y bywyd hwn, eithr dros yr hwn sydd i ddyfod. Nis gall un gwr fod "yn yr Arglwydd," yn nghyflawn ystyr yr ymadrodd yma, hyny yw, nis gall fyned i mewn i holl gyflawnder ei ogoniant ef, "heb y wraig." Ac nis gall un wraig fod "yn yr Arglwydd," neu yn y mwynhad o gyflawnder, "heb y gwr." Ar ol i'r gosodiad dwyfol hwn gael ei ddysgu a'i ddeall yn briodol, ystyrir ef yn warth i unrhyw wr neu wraig aros mewn cyflwr unigol, a pheidio cydymffurfio ag ordinhad Duw, trwy yr hon y gallant yn gyfreithlawn, yn eu sefyllfa anfarwol, "amlhau a llanw" y Ddaear Newydd ag hiliogaeth anfarwol. Er mwyn i'r gwarth hwn gael ei gymmeryd ymaith, "saith o wragedd a ymaflant mewn un gwr." Hwy a ddeallant mai heb wr, nas gallant byth gyflawni y gorchymyn mawr hwnw a roddwyd i fodau anfarwol; hwy a gant allan, os na osodant eu hunain mewn sefyllfa i'w ufyddhau, y rhaid iddynt ddyoddef ei gospedigaethau, a bod heb ddyrchafu yn uwch na'r angylion a'n hysbysir gan Paul a fernir gan y Saint. Fe fydd difrodiadau rhyfel mor fawr yn y dydd hwnw, fel ag y bydd y benywod yn llawer mwy lliosog na'r gwrrywod; am hyny y dywed yr Arglwydd, "Gwnaf ddyn yn werthfawrocach nag aur coeth; ie, dyn na chŷn o aur Ophir" (Esaiah xiii, 12). Yn y dydd hwnw fe fydd yr arferiad hir-sefydlog o'r gwrryw yn gwneuthur y cynnyg cyntaf o briodas i'r fenyw, i ryw fesur, wedi ei wrthdroi. Yn lle bod gwr yn ceisio cael cydsyniad saith o wragedd i ddyfod yn wragedd iddo ef, hwynt-hwy a ddeisyfant arno ef i ganiatâu y fraint hono iddynt hwy; a rhag ofn y gwrthoda ar gyfrif y gost o gynnal teulu mor fawr, hwy a addawant "fwyta eu bara eu hun, a gwisgo eu dillad eu hun," os gallant ond "yn unig gael eu galw ar ei enw ef, er cymmeryd ymaith eu gwarth." Ac er dangos fod yr Arglwydd yn cymmeradwyo y drefn hono ar bethau, ac yn cyfranu bendithion mawrion i'r bobl lle y caiff hyny ei arferyd, Esaiah,

yn yr adnodau a ganlyn, a ddywed, "Y pryd hyny y bydd Blaguryn yr Arglwydd yn brydferthwch ac yn ogoniant; a ffrwyth y ddaear yn rhagorol ac yn hardd i'r rhai a ddiangasant o Israel. A bydd, am yr hwn a adewir yn Seion, ac a weddillir yn Jerusalem, y dywedir wrtho, O sanct" (Esaiah iv, 2, 3). Ac yn y bummed adnod, efe a ddywed fel hyn, "A'r Arglwydd a grea ar bob trigfa o fynydd Seion, ac ar ei gymmanfaoedd, gwmwl a mwg y dydd, a llewyrch tân fflamllyd y nos." "Blaguryn yr Arglwydd," yr hwn sydd i fod mor brydferth a gogoneddus, gan fod â chwmwl y dydd, a thân y nos ar ei holl drigfanau a'i gymmanfaoedd, yw yr unig bobl lle yr unir saith o wragedd wrth un gwr, ac i gael eu galw ar ei enw ef, er cymmeryd ymaith eu gwarth.

Nid yn unig fe fydd yn warth i wraig fod heb wr yn mhlith pobl Dduw, eithr fe fydd yn ofidus i wraig briod fod yn anffrwythlawn; oblegid y mae yr Arglwydd wedi gorchymyn i'r gwrryw a'r fenyw liosogi; bydd yn achos o ofid i beidio cyflawni y gorchymyn hwn: dyna fel yr oedd yn yr amseroedd gynt. Pan oedd Leah, un o wragedd Jacob, wedi ymddwyn iddo ef bedwar o feibion, fe "beidiodd o honi â phlanta." "A phan welodd Leah beidio o honi â phlanta, hi a gymmerth ei llawforwyn Zilpah, ac a'i rhoddais hi yn wraig i Jacob." Ac ar ol hyn, hi a alwodd ar yr Arglwydd, "a Duw a wrandawodd ar Leah, a hi a feichiogodd, ac a ymddug y pummed mab i Jacob. A Leah a ddywedodd, Rhoddodd Duw fy ngwobr i mi, o herwydd rhoddi o honof fi fy llaw-forwyn i'm gwr" (Genesis xxx, 9, 17, 18). Yma gwelir i Dduw wrandaw ar Leah, a rhoddi iddi y pummed mab, a'r rheswm a roddir dros y fendith hon oedd, "O herwydd rhoddi o honi ei llaw-forwyn i'w gwr." Yr oedd hon yn weithred a ryngai fodd yr Arglwydd, ac o ganlyniad efe a wrandawodd ar ei gweddi.

Eithr paham yr oedd y drefn hon ar bethau yn rhyngu bodd yr Arglwydd? O herwydd nad yw Efe yn dderbyniwr wyneb; ac yr oedd Zilpah, yn ddiammau, yr un mor deilwng o wr ac o hiliogaeth, â Leah. Ac er fod Rahel wedi rhoddi Bilhah i Jacob yn wraig, etto ymddengys o herwydd rhyw reswm, i Leah oedi dilyn esiampl ei chwaer ieuengaf, ac o ganlyniad, hi a aeth yn anffrwythlawn; eithr pan foddlonodd i roddi Zilpah i Jacob, yr Arglwydd a'i bendithiodd am y weithred, ac a wrandawodd ei gweddiau, ac a roddodd iddi fab arall. Mae y

debygol y methai Bilhab a Zilpah gael gwyr dros dragywyddoldeb, pe nas rhoddasai Rahel a Leah hwynt i Jacob. Gall fod llawer o amgylchiadau cyffelyb yn y dyddiau diweddaf, yn y rhai y methai benywod fyned i'r cyfammod tragywyddol o briodas, pe na roddid hwynt i wr yn feddiannol ar deulu yn barod.

A all gwraig gael mwy nag un gwr ar yr un pryd? Na all: ni chymmeradwywyd y fath egwyddor erioed yn yr ysgrythyrau. Dyben priodas yw lliosogi y rhywiau, yn ol gorchymyn Duw. Gall gwraig ag un gwr gyflawni y gorchymyn hwn, gyda mwy o hwylusdod, nâ phe meddai liosogrwydd; yn wir, gwnai hyn, yn ol pob tebygolrwydd, rwystro yr amcan mawr o briodas, a'i hattal hithau rhag cyfodi hiliogaeth. Gan na hwylusai lliosogrwydd gwyr gynnyddiad hiliogaeth, ni oddefwyd y fath egwyddor erioed yn yr ysgrythyrau. Eithr buasai amledd gwragedd yn foddion i fawr-gynnyddu teulu, ac felly gyflawni y gorchymyn, nid yn unig i lawer mwy o helaethrwydd o du y gwr, eithr hefyd o du y gwragedd, y rhai a allent fod dan yr anghenrheidrwydd o aros yn unigol yn dragywydd. Fel engreifftiau o'r cynnydd mawr yn cyfodi oddiwrth amledd gwragedd, ni a grybwyllwn amryw o Farnwyr Israel; un o ba rai a feddai ddeg-ar-hugain o feibion; un arall a feddai ddeg-ar-hugain o feibion a deg-ar-hugain o ferched; un arall a feddai ddeugain o feibion (ni chrybwyllir y nifer o ferched); gwr galluog arall o eiddo Duw, sef Gideon, a feddai ddeuddeg a thrugain o feibion (nid yw nifer y merched yn hysbys). (Gwel Barnwyr viii, 30, 31; hefyd ix, 5; a x, 3, 4; a xii, 8, 9—14.) Yn mhlith holl bobl Israel, yr Arglwydd a ddewisodd Gideon, gwr yn meddu amryw wragedd a phlant, i waredu ei bobl o gaethiwed. At yr Aml-wreigiwr hwn efe a ddanfonodd ei angel, ac a ddangosodd iddo arwyddion a rhyfeddodau mawrion, ac a roddodd iddo lawer o ddadguddiadau pa fodd i waredu Israel.

Y Salmydd a ddywed, "Wele, plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd: ei wobr ef yw ffrwyth y groth. Gwyn ei fyd y gwr a lanwodd ei gawell saethau â hwynt: nis gwaradwyddir hwy, pan ymddyddanant â'r gelynion yn y porth" (Salm cxxvii, 3—5). Y wobr a rodda Duw i'w bobl yw plant. Etifeddiaeth yr Arglwydd yw plant: oddiwrth hyn y tarddai awydd mawr gwyr a gwragedd yn yr amseroedd gynt i liosogi eu plant. Ac oddiwrth hyn y rhag-hysbysai y Salmydd, ynghylch gwaredigion yr Ar-

glwydd a gaent eu casglu "o'r tiroedd, o'r dwyrain, ac o'r gorllewin, o'r gogledd, ac o'r deau," fel ar ol iddynt grwydro yn yr anialwch, mewn "ffordd ddisathr," lle y caniateid iddynt "ddarparu dinas i gyfanneddu," y gwnai yr Arglwydd fendithio y tlawd yn fawr, "*a gwneyd iddo deuluoedd fel praidd.*" (Gwel Salm cvii, 2–7, 35–43.) Yn lle fod y rhai uniawn, yn y dydd hwnw, yn drist wrth weled y tlawd yn meddu "teuluoedd fel praidd," y Salmydd a lefara, "Y rhai uniawn a welant hyn, ac a lawenychant: a phob anwiredd a gau ei safn. Y neb sydd ddoeth, ac a gadwo hyn, hwy a ddeallant drugareddau yr Arglwydd." Y rhai nad ydynt uniawn a doeth, ac nad ydynt yn sylwi ar yr hyn a ddywed y Salmydd, yn ddiammau a feddyliant fod peth rhyfedd wedi dygwydd yn y tir, pan glywant am ddyn tlawd yn meddu "teuluoedd fel praidd." Y rhai drygionus, yn ddiammau, a agorant eu safnau ac a waeddant Aml-wreigiaeth! Aml-wreigiaeth!! gyda golwg i rwystro cyflawniad y prophwydoliaethau; eithr hwy a gant allan, cyn y gorphenant, eu bod yn ymladd yn erbyn Duw, ac yn erbyn ei fwriadau, ac yn erbyn ei osodiadau dwyfol, ac yn erbyn cyflawniad y prophwydi. Hwy a gant allan yn fuan y gwna "anwiredd gau ei safn," a bod yr Arglwydd, yn wir, yn mhlith ei bobl, ac y "cerydda genedloedd cryfion hyd yn mhell," ac y danfona ei gyfreithiau o Seion i lywodraethu yr holl bobloedd. Yna y gwybyddant pan fyddo yr Arglwydd yn rhoddi i ddyn "deuluoedd fel praidd," ei fod ef yn bwriadu hyny yn fendith, ac nid melldith; canys, "wele, plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd," a gwyn eu byd y rhai, trwy y cyfammod tragywyddol o briodas, ag ydynt yn cael y wobr fawr hon.

Ar ryw amser penodol, dywedodd Pedr wrth yr Iesu, "Wele, nyni a adawsom bob peth, ac a'th ddilynasom di. A'r Iesu a atebodd ac a ddywedodd, Yn wir, meddaf i chwi, Nid oes neb a'r a adawodd dŷ, neu frodyr, neu chwiorydd, neu dad, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd, o'm hachos i a'r efengyl, a'r ni dderbyn y *can cymmaint yr awrhon y pryd hwn*, dai, a brodyr, a chwiorydd, a mamau, a phlant, a thiroedd, ynghyd ag erlidiau; ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol" (Marc x, 28—30). Mae derbyn "yr awrhon y pryd hwn" gan cymmaint o dai a thiroedd —can cymmaint o wragedd—can cymmaint o blant, &c., yn ddiau yn wobr dymmorol fawr. Mae dyn ag sydd yn gadael un

wraig er mwyn yr efengyl, yn derbyn cant o wragedd yn ol am ei aberth: mae dyn ag sydd yn gadael tri neu bedwar o blant er mwyn teyrnas Dduw, yn derbyn tri neu bedwar cant o blant fel gwobr "yr awrhon y pryd hwn." Eithr pa fodd y mae efe yn cael ei gant o dadau ac o famau? Fe ddeuai y rhai hyn yn naturiol wrth ei fod ef yn cael ei gan cymmaint o wragedd; canys rhieni pob un o'r cant gwragedd a hawliai efe yn gyfreithlawn fel tad a mam. A brodyr a chwiorydd pob un o'i wragedd a hawliai efe yn naturiol fel ei frodyr a'i chwiorydd ef. Byddai "can cymmaint o dai a thiroedd" mor anghenrheidiol ag unrhyw gyfran arall o'r addewidion hyn o eiddo ein Hiachawdwr; canys diau y byddai eu heisieu er cynnal yn gysurus gan cymmaint o wragedd a phlant. Da y dywedodd y Salmydd mai "plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd: a'i wobr ef yw ffrwyth y groth." Da y dywedodd efe y gwnai yr Arglwydd i'r tlawd "deuluoedd fel praidd;" buasai can cymmaint o deuluoedd, yn preswylio cant o dai, yn ddiau yn edrych yn dra thebyg i "braidd" *(flock)*.

Yr oedd amledd gwragedd nid yn unig yn cael ei gymmeradwyo gan yr Arglwydd yn Israel, eithr mewn rhai achosion ymddangosai ei fod yn anhebgorol anghenrheidiol. Dywed yr ysgrythyr: "Os brodyr a drigant ynghyd, a marw un o honynt, ac heb blentyn iddo; na prioded gwraig y marw wr dyeithr oddi allan: aed ei chyfathrachwr ati, a chymmered hi yn wraig iddo, a gwnaed iddi ran cyfathrachwr. A bydded i'r cyntaf-anedig a ymddygo hi sefyll ar enw ei frawd a fu farw; fel na ddilëer ei enw ef allan o Israel" (Deut. xxv, 5, 6). Os oedd brawd y trengedig eisoes yn briod, nid oedd hyny yn ei ryddhau ef oddi wrth gyfrifoldeb y gyfraith; yr oedd yn ofynol iddo briodi gweddw ei frawd, er mwyn cyfodi had iddo, "fel na ddilëid ei enw ef allan o Israel." Dyma achos, ynte, ag y byddai yn rhaid i ddyn ddyfod allan mewn rhyfel agored yn erbyn y gyfraith, neu ynte, gael amledd o wragedd yn byw ar yr un amser. Yn awr, cymmerwch achos saith o frodyr; gadewch iddynt oll briodi. Os bu farw chwech o'r brodyr yn ddiblant, byddai y seithfed yn rhwym trwy y gyfraith hon o briodi y chwech gwraig weddw; o ganlyniad, byddai ganddo chwech o wragedd yn byw yma yn y bywyd hwn, neu fod yn droseddwr o'r gyfraith. Os na fydd gan y brawd byw wraig flaenorol ar y pryd y mae yn priodi gweddw

ei frawd (gan na raid ystyried y cyntaf anedig yn had iddo ef, eithr a raid gymmeryd enw ei frawd trengedig), ac os metha gweddw ei frawd gael plant, neu o leiaf, gael ond un, pa beth a wna y brawd byw am blant i ddwyn ei enw ef ei hun yn Israel? A gaiff ef, yr hwn a briododd weddw ei frawd er mwyn adeiladu enw a thŷ y marw, ei adael yn ddiblant, a chael ei enw ei hun wedi ei ddileu o dan y nefoedd? Na chaiff yn wir, byddai ef dan yr anghenrheidrwydd o briodi gwraig arall, heblaw gweddw ei frawd, er mwyn i'w dŷ ei hun a'i enw ei hun gael eu bytholi yn mysg llwythau Israel.

Yr oedd parhad enw ac hiliogaeth dyn cyfiawn yn cael ei ystyried yn fendith fawr; am hyny y traethai Dafydd gerbron yr Arglwydd, gan ddywedyd: "Plant dy weision a barhant, a'u had a sicrheir ger dy fron di" (Salm cii, 28). Yr oedd cael cadwyn hiliogaeth wedi ei thori gan angeu, yn cael ei ystyried yn ddrygfyd mawr; am hyny, yr Arglwydd a wnaeth ddarpariadau manwl gogyfer ag achosion felly. Os nad oedd gan y trengedig un brawd yn fyw, yna syrthiai ar y perthynas agosaf i briodi ei weddw. Mae genym esiampl o hyn yn cael ei rhoddi yn llyfr Ruth: gan fod ei gwr hi yn farw, ac yn ddiblant, ac heb un brawd i briodi ei weddw, Boaz, ei ewythr ef, un o frodyr ei dad, a gymmerodd Ruth yn wraig iddo, "i gyfodi enw y marw ar ei etifeddiaeth ef, fel na thorer ymaith enw y marw o blith ei frodyr, nac oddiwrth borth ei fangre" (Ruth iv, 10). Felly Boaz a Ruth a ddaethant yn orhen-rieni Dafydd.

Nid gyda chyfraith Moses y dechreuodd y drefn hon ar bethau; yr oedd mewn bodoliaeth yn nyddiau y patriarchiaid, yn hir cyn geni Moses. Yr oedd gan Judah dri mab, sef Er, Onan, a Selah. Er, wedi priodi Tamar, a fu farw o herwydd ei ddrygioni, yn ddiblant. "A Judah a ddywedodd wrth Onan, Dos at wraig dy frawd, a phrioda hi, a chyfod had i'th frawd. Ac Onan a wybu nad iddo ei hun y byddai yr had," ac er iddo ei phriodi hi, gwrthododd "roddi o hono had i'w frawd. A drygionus oedd yr hyn a wnaethai efe yn ngolwg yr Arglwydd: am hyny efe a'i lladdod yntau" (Gen. xxxviii, 6—10). Gan fod Selah yn rhy ieuanc i briodi, Judah a geisiodd gan Tamar i "drigo yn weddw yn nhŷ ei thad, hyd oni chynnyddai Selah." Felly, gwelwn cyn i gyfraith Moses gael ei rhoddi, fod y patriarchiaid yn deall ac yn ymarfer â'r gyfraith a ofynai i frawd y trengedig i briodi

ei weddw, i'r dyben o barhau enw y marw. Mae y gyfraith hon, fel ag yr ydym wedi gweled, yn cynnwys amledd gwragedd.

(*I'w barhau.*)

---

## PA FODD, AC YN MHA LE Y GELLIR CYNNAL AMRYW WRAGEDD YN GYSURUS.

ANWYL FRAWD DAVIS,—Llawer o'm brodyr anwyl sydd wedi cymmeryd mewn llaw i brofi yr athrawiaeth o aml-wreigiaeth yn wirionedd rhesymol ac ysgrythyrol, trwy y *Seer*, *Star*, a'r UDGORN, ynghyd â thraethawd y brawd Orson Spencer ar yr un pwnc.

Mae yr oll a ysgrifenwyd ac a gyhoeddwyd ar y pwnc hwn yn amlwg i bob dyn rhesymol, i ganfod yn eglur mai egwyddor ddwyfol yw yr athrawiaeth o aml-wreigiaeth.

Nid ydwyf fi, gan hyny, yn bwriadu yn bresennol i brofi yr egwyddor o aml-wreigiaeth yn ysgrythyrol, gan fod hyny wedi ei brofi eisoes goruwch pob dadl.

Gan fod yr Arglwydd wedi dadguddio i'w was Joseph Smith o barthed i'r drefn batriarchaidd, a gorchymyn iddo ef ac ereill o'i weision ffyddlawn fyned a gwneuthur gweithredoedd Abraham; ac os y byddent yn ufyddhau, y cawsent eu bendithio; ac o'r tu arall, os gwrthodent ufyddhau, y cawsent eu damnio. Ond, meddai rhywun anwybodus nad yw yn feddiannol ar Ysbryd Duw, pa fendith yn awr yw i ddyn gael rhagor nag un wraig, a llawer o blant? Pa fodd y gall eu cynnal? Y mae yn anhawdd iawn yn awr i gynnal un wraig yn gysurus, heblaw cael llawer o wragedd a phlant. Gwir i gyd; nid yw yr Arglwydd wedi gorchymyn i'w weision gymmeryd rhagor nag un wraig yn y wlad hon; nid yw cyfraith y wlad yn caniatâu hyny yma, nac amgylchiadau tymmorol ychwaith. Mae y rhenti yn uchel, a phob taloedd ereill, nes yw dynion yn gorfod bod ar redeg braidd ddydd a nos â'u llaw yn eu llogell i dalu am rywbeth yn barhaus; ac os methant a thalu, cant eu harwain tua'r cwrt bach, neu i'r carchar, ac ni chant ddyfod oddiyno hyd oni thalant y ffyrling eithaf.

Gan nad ydwyf wedi gweled na darllen gwaith neb o'm brodyr, yn gosod allan pa fodd y gellir cynnal amryw wragedd yn

hawddach ac yn fwy cysurus yn nhiriogaeth Utah, nag y gellir cynnal un wraig yn y wlad hon, anturiaf i ddangos hyny mor eglur ag y gallaf. Er enghraifft, meddyliwch fod brawd yn Utah yn cadw fferm, a hono yn gant o erwau; a bod y brawd yn hau gwenith mewn deugain erw. Bydd un bwshel yn ddigon o had i bob erw; codir yn hawdd yno mewn amryw fanau ddeugain bwshel yr erw, heb achlesu dim; weithiau codir llawer mwy nâ hyny. Ond gadawn y cyfartalwch yn ddeugain bwshel yr erw. Bydd yr oll a godir o wenith ar y deugain erw yn fil a chwech cant o fwsheli. Bydd y ddegfed o hyny yn cael ei gymmeryd i ystordŷ yr Arglwydd, yr hyn fydd un cant a thrugain o fwsheli. Bydd yn weddill wed'yn ganddo un fil, pedwar cant, a deugain o fwsheli. Wel, ynte, pa faint a all y brawd uchod gynnal o deuluoedd â digonedd o fara? Gall gynnal saith ar hugain o deuluoedd, gwraig a phedwar o blant yn mhob teulu, a rhoddi bwshel yr wythos i bob teulu. Bydd ganddo wed'yn yn weddill un-ar-bymtheg ar hugain o fwsheli at roddi i'r tylodion, os byddant i'w cael yn y wlad. Bydd y trugain erw arall gan y brawd at gadw gwartheg, ceffylau, a defaid, &c., heblaw cyfleusderau ereill sydd yno i anifeiliaid gael porfa heb fod yn uniongyrchol ar y fferm. Bydd ganddo ddigon o gaws ac ymenyn, gwlan at wneuthur dilladau, ceffylau i dynu ei gerbydau, fel y gallo fyned yn gysurus tua'r cwrdd ar y Sul a dyddiau ereill. Bydd eisieu arno gadw tua deg erw o'r trugain uchod at godi gwahanol bethau, sef ychydig o ŷd Indiaidd i'r moch, barlys at ddiod wan, cloron, *beets*, erfin, pys, ffa, *cucumbers*, *pumkins*, *squashes*, amryw fathau o *felons*, a lluoedd o bethau ereill rhy faith i'w henwi yn bresennol. Gwelir yn eglur oddiwrth yr uchod, fod yn hawdd i ddyn gynnal amryw deuluoedd yn Nhiriogaeth Utah yn gysurus.

Meddyliwch wed'yn am ddyn yn y wlad hon yn cadw fferm, a hono yn gant o erwau, a'i fod yn ei chael gan feistr y tir am 15 swllt yr erw yn y flwyddyn; fe fyddai hyny yn £75 yn y flwyddyn, tua £20 o dreth y tylodion, tua £15 o ddegwm, tua £5 o dreth tir, tua £10 am galch yn y flwyddyn, tua £30 o gyflogau i wasanaeth-ddynion, heblaw amryw fân daloedd ereill ag sydd yn y wlad hon, sef toll ffyrdd, &c. Mae y cyfan dros £150, a rhaid i'r dyn uchod eu casglu ar ei fferm. Pa faint fydd cyfartalwch y gwenith a all y ffermwr godi yma? Meddyliwch ei fod yn hau ugain erw; nis gall hau rhagor, ac yn brin iawn

hyny, o herwydd na fydd ganddo achles i roddi i ychwaneg. Pa faint o fwsheli a gaiff ar bob erw? Bydd y cyfartalwch tua deg bwshel; bydd yr oll yn ddau cant o fwsheli. Bydd ganddo tua chant i werthu, a chaiff am dano efallai 6s. y bwshel, os na fydd egin arno, a'r cant arall at fwyta a had erbyn y flwyddyn ddyfodol. Yr oll a gaiff am y gwenith fydd £30; gall werthu gwerth £15 o farlys, a gwerth y £15 arall o geirch, gwerth tua £20 o ychen, gwerth tua £30 o ymenyn a chaws. Y mân bethau ereill a fydd ganddo i werthu, sef ychydig o ddefaid a moch; bydd yn angenrheidiol cael yr arian a geir am y rhai hyny i gael dillad iddo ei hun a'i wraig, ac efallai chwech neu saith o blant. Yr oll ag sydd ganddo i werthu ydynt, wedi eu cyfrif at eu gilydd, yn £120. Yn awr, ynte, gwelwch fod y dyn uchod £30 ar ei golled mewn un flwyddyn; ac os na ddaw yr amser yn well, bydd y dyn yna yn mhen ychydig flynyddau heb ddim, ac yn ngharchar y gwelir ef, a'i wraig a'i blant ar y plwyf. Gwelwch, ynte, ei bod yn galed iawn ar ddyn i gynnal un wraig yn y wlad hon.

Pa hyd y bydd y Cymry, druain, mor ffol ag aros mewn gwlad o galedi a thrais, pan y maent yn cael cynnyg ar wlad dda sydd yn llawn o ffrwythau a danteithion ar fynyddoedd Israel? Pa hyd y troant y glust fyddar at weision Duw, pa rai sydd yn eu cymhell i ufyddhau i'r efengyl, fel y caffont eu gwaredu rhag y pläau sydd i ddyfod ar genedloedd y ddaear.

Hawdd iawn y gall pob dyn diduedd weled y gwahaniaeth sydd i fyw yn y wlad hon, a byw yn nyffrynoedd y mynyddoedd, lle y mae cyfiawnder yn cartrefu.

Terfynaf yn awr, gan gynnyg yr uchod i'ch sylw; ac os gwelwch fy ysgrif yn deilwng o ymddangos yn yr UDGORN, y mae at eich gwasanaeth. Hyn oddiwrth

Eich anwyl frawd yn y cyfammod newydd a thragywyddol,

THOMAS JEREMY.

---

## CENADWRI NEFOL.

Ton—"Let us pray, gladly pray."

DAETH cenadydd i lawr â'r efengyl dragwyddol;
Parodd hyn gynhwrf mawr yn y dyddiau presennol:
Mawr amryson am hon sydd yn mhlith annuwiolion,
A'r ffyddloniaid o'r bron a gychwynant i Seion.

Fe agorodd y wawr, pan lefarodd Moroni;
Mae ein llygaid yn awr yn adnabod goleuni:
Gwelaf rai'n hoffi'r nos, a'u bugeiliaid yn ddeillion;
Felly syrthiant i'r ffos—oll, a thrwy eu hathrawon.

Gwelir doeth blant y dydd yn casâu traddodiadau,
A'u cydwybod yn rhydd, ac yn llawn ymdrechiadau:
Cyd-weithiant yn awr, bron ar fin canu ffarwel
Oll i Babilon fawr;—yn y man cawn ymadael.

*Abercenffig.* LLANC Y FRO.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

EFELYCHU y goreu yw yr efelychiad penaf; a phenderfyniad i ragori, sydd benderfyniad rhagorol.

NID yw yn ngallu dyn da i wrthod gwneyd arall yn ddedwydd, os bydd yn meddu ffordd a chyfleusdra at hyny.

Os bydd i ni anghofio Duw tra yn Babilon, efallai yr anghofia Duw ninnau pan awn i Seion.—T. H.

MARC ANTHONY, pan wedi ei orchfygu, a'i ddarostwng i dlodi, a ddywedai ei fod wedi colli y cwbl, ond yr hyn ag oedd wedi roddi ymaith.

Y DYN hwnw sydd yn mwynhau nefoedd ar y ddaear, yw yr hwn y mae ei feddwl yn ymhyfrydu mewn haelfrydigrwydd, yn ymddibynu ar Ragluniaeth, ac yn troi ar begynau gwirionedd a doethineb.

Os bydd i chwi feddwl ddwywaith cyn llefaru unwaith, bydd i chwi lefaru yn ddau cystal o herwydd hyny.

Y DYN synwyrol sydd yn cadw ei lygaid yn agored, a'i enau yn nghau; a bydd ynddo gymmaint o awydd i ddysgu ei hunan, ag i roddi addysg i ereill.

---

TALIADAU O EBRILL 29 HYD MAI 5.—Dinas, 9s; Pontypridd, 10s; Eglwysnewydd, 10s; Aberdar, £1 2s 6c; Aberamman, 5s; Hirwaen, 8s 8c; Georgetown, 9s 5c; Pendaren, 5s; Troedyrhiw, 1s 6c; Llanfabon, 2s 10c.—Cyfanswm, £4 3s 11c.

☞ Mae "Corff Crist" allan o brint.

☞ Cyfrifir Cangen Llansawel o hyn allan yn Nghynnadledd Caerfyrddin.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 20.] MAI 14, 1853. [CYF. V.


## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 305.]

MEWN cenedl mor liosog ag Israel byddai yn naturiol lawer o filoedd o enghreifftiau trwy eu holl genedlaethau o fod gwyr yn marw yn ddiblant; a byddai hefyd lawer o filoedd o enghreifftiau pan y gofynid gan y gyfraith i'r brawd byw, neu y perthynas agosaf, er yn briod eisoes, i briodi y weddw. Rhaid cofio fod y drefn hon ar bethau yn ei llawn rym, a bod holl Israel yn cael eu gofyn i'w chadw, yn yr amser yr aeth ein Hiachawdwr a'i apostolion i bregethu yn mysg y genedl hono. Gofyniad—A oedd rhywbeth yn gyssylltiedig â'r Efengyl a dysgeidiaeth Crist a'i apostolion, wedi ei fwriadu er diddymu y gyfraith o barthed i weddw y marw? Pan aeth ein Hiachawdwr a'i weision trwy holl ddinasoedd Israel, gan bregethu, bedyddio, a derbyn i'r Eglwys bawb a dderbynient eu tystiolaeth, a ydyw yn debyg iddynt gondemnio y rhai hyny ag oedd wedi priodi amryw wragedd mewn ufydd-dod i'r gyfraith? Pa beth yn naturiol a ddywedent wrth ddyn a fuasai wedi priodi hanner dwsin o weddwon ei frodyr, y rhai a fuont feirw yn ddiblant? A wnaent hwy ei gondemnio am gadw y gyfraith? A wrthodent hwy iddo ddyfod i mewn i'r Eglwys Gristionogol, o herwydd iddo fod yn ffyddlawn i'r gyfraith? A ofynent hwy ganddo i roddi ymaith weddwon y meirw, y rhai y gorfododd y gyfraith ef i'w priodi? Pe na buasai ef wedi cadw y gyfraith, ai ni chondemnid ef gan y gyf-

raith? Gwrandewch pa beth yw cosp anufydd-dod, "Melldigedig yw yr hwn ni pharhao yn ngeiriau y gyfraith hon, gan eu gwneuthur hwynt. A dyweded yr holl bobl, Amen" (Deut. xxvii, 26). Yr oedd dyn, ynte, yn rhwym o dan felldith drom i briodi holl weddwon ei frodyr trengedig, y rhai a fyddent feirw yn ddiblant? A raid iddo ef, gan hyny, fod yn anghymmeradwy am wneuthur ei ddyledswydd? A raid iddo ef gael ei gadw y tu allan i'r Eglwys Gristionogol, oni rodda ymaith ei holl wragedd ond un? Mae y fath dybiaeth yn chwithig. O'r ochr arall, pe cawsai yr Iesu a'i weision afael mewn dyn yn holl Israel ag oedd wedi pallu ufyddhau y gyfraith hon—yr hwn ni phriodai weddwon ei frodyr trengedig, hwy a'i ceryddent ef fel troseddwr; hwy a fynegent iddo ei fod dan felldith am esgeuluso ufyddhau y gyfraith; hwy a'i rhybyddient ef i edifarhau; ac y mae yn ammheus iawn pa un a dderbynient ef i'r Eglwys Gristionogol, oni amlygai ef yn gyntaf ei edifeirwch trwy gadw y gyfraith, a phriodi y gweddwon fel y gofynid ganddo.

A thrachefn, gofynwn, ai nid oedd yr un mor anghenrheidiol i Israel, o dan yr oruchwyliaeth Gristionogol, i gadw y gyfraith hon, a bytholi enw y marw, ag o dan y goruchwyliaethau patriarchaidd a Moesenaidd? Paham yr oedd yn anghenrheidiol i enw y marw gael ei gadw mor gyssegredig, hyd nes i Grist ddyfod, ac yna gael ei lwyr esgeuluso a'i anghofio? Dichon y dywed rhai, pan ddaeth Crist, i'r "hen bethau fyned heibio, ac i bob peth ddyfod yn newydd." Eithr pwy nas gŵyr nad cyfeirio oedd hyn yn unig at gyfraith y gorchymynion a'r ordinhadau cnawdol ag y daeth Crist i'w chyflawni? Pwy nas gŵyr fod llawer o orchymynion a deddfau ag oedd yn gyssylltiedig â chyfraith yr ordinhadau ag a barhawyd o dan yr efengyl? Ni ddiddymwyd y deg gorchymyn yn Nghrist. Yr oedd gweddio, yr hyn a arferwyd dan y gyfraith, yn anghenrheidiol hefyd o dan yr efengyl. Ni chafodd y gyfraith yn erbyn godineb ei diddymu gan yr efengyl. Ni ddiddymodd yr efengyl y gyfraith yn erbyn lladrata, yn erbyn lladd, yn erbyn cymmeryd enw yr Arglwydd yn ofer, yn erbyn gau-dystion, yn erbyn meddwdod, neu yn erbyn unrhyw ffieidd-dra arall. Ni ddiddymodd Crist y gyfraith i ddyn wneyd daioni i'w gymmydog, y gyfraith o uniondeb ac onestrwydd ag a ddylai nodweddu eu hymddygiad tuag at eu gilydd. Ni fwriadodd Crist erioed, trwy ddwyn i mewn yr

Efengyl, i ddiddymu y gyfraith a arferid yn mhlith Israel i gynnorthwyo y tlawd, yr anghenog, yr amddifad, a'r weddw. Gan hyny, yr oedd cannoedd o orchymynion a deddfau dan y goruchwyliaethau patriarchaidd a Moesenaidd ag na ddaeth Crist i'w diddymu. Yr hyn ag oedd yn foesol, daionus, a chyfiawn cyn i Grist ddyfod, oedd yn gymmaint felly ar ol iddo ddyfod, oddieithr i ni gael rhyw dystiolaeth i'r gwrthwyneb. Os oedd yn weithred ddaionus, moesol, a chyfiawn, cyn Crist, i gofio y meirw na adawent hiliogaeth, yr oedd yr un gymmaint felly ar ol Crist, oddieithr i ni gael rhywbeth yn athrawiaeth Crist yn diddymu cyfraith priodas ar ran y meirw. Pa beth sydd yn yr efengyl yn gwrthdaraw y drychfeddwl o weddwon amryw frodyr trengedig, yn priodi yr unig frawd byw, a'r cyntaf-anedig o bob un yn cael ei alw ar enw y marw, fel y byddai ei enw a'i linach gael eu parchu trwy genedlaethau dyfodol? Paham yr ystyrid ef yn beth mor bwysig i barhau enwau a llinach y miliynau o Israel am filoedd o flynyddoedd, ac yna diddymu oll ar unwaith y gyfraith a sefydlwyd i'r dyben hwn?

Yr oedd miloedd o Israeliaid, y rhai, os buont fyw i fyny i'w cyfraith, ag oedd raid fod ganddynt amryw wragedd pan ddygwyd yr Efengyl gyntaf i'w plith. A chan fod yr Apostolion wedi cael gorchymyn i bregethu yr efengyl i bob creadur, rhaid oedd eu bod wedi ei phregethu i'r miloedd hyn o Aml-wreigwyr. Pa fodd y gallent hwy ddyfod yn aelodau o Eglwys Crist? Os nad oedd amledd gwragedd yn cael ei oddef yn yr Eglwys Gristionogol, mae yn eglur y byddai gan yr Aml-wreigwyr Iuddewig hyn i dori eu teuluoedd i fyny, a phob un i roddi llythyr ysgar i'w holl wragedd ond un: eithr mae yr Efengyl yn gwahardd rhoddi llythyr ysgar, ond yn unig o achos godineb. Fe ddywed yr Efengyl, "Yr hyn a gyssylltodd Duw, na wahaned dyn." Dyn, ynte, ag oedd wedi priodi amryw weddwon o eiddo ei frodyr trengedig yn ol y gyfraith (gan fod dan felldith drom os gwrthodai), ni fyddai hawl ganddo i'w gwahanu, nac i roddi llythyr ysgar iddynt. Pa beth raid iddo wneuthur? Yn ol golygiadau y byd cristionogol diweddar, nis gallai efe fyned i'r Eglwys Gristionogol gydag amledd gwragedd, ac yn ol yr efengyl ni fyddai ganddo hawl i'w hysgaru. Gan hyny, efe a fyddai heb obaith; dim un ffordd bosibl iddo gael ei achub. Pwy sydd mor amddifad o synwyr cyffredin ag i gredu, am un fynyd, y fath

wrthuni? Yr oedd miloedd o'r Israeliaid, ynte, yn cael eu gorfodi, trwy ofn y felldith am anufydd-dod, i briodi amledd o wragedd, ac yr oedd y miloedd Aml-wreigwyr yn cael eu gorfodi gan yr efengyl i beidio ysgaru eu gwragedd ond yn unig am y pechod o odineb. O ganlyniad, yr oedd yn rhaid naill ai fod yr Eglwys Gristionogol yn goddef Aml-wreigiaeth, neu ynte eu bod dan yr anghenrheidrwydd o wahanu yn anghyfreithlawn yr hyn a gyssylltodd Duw, neu ynte eu bod yn ystyried pawb felly, o herwydd eu ffyddlondeb i'r gyfraith ar ran y meirw, wedi gosod eu hunain uwchlaw cyrhaedd trugaredd Efengyl. Dyma dri dewisiad; pa un a ddewisa y Cristion? Dewis un o'r ddau olaf a fyddai, nid yn unig yn anysgrythyrol, eithr yn bechadurus i'r graddau uchelaf. Y dewisiad cyntaf yn unig a erys, hyny yw, caniatâu y gyfundraeth o amledd fel gosodiad dwyfol; derbyn yr Aml-wreigwyr Iuddewig i'r Eglwys Gristionogol, gyda'u holl wragedd, trwy eu ffydd a'u hufydd-dod i'r efengyl.

Fod y gosodiad dwyfol hwn yn cael ei arfer o dan yr oruchwyliaeth Gristionogol, sydd yn amlwg yn mhellach etto, nid yn unig oddiwrth y rhesymau blaenorol, eithr oddiwrth y cyfarwyddiadau a roddodd Paul i Timotheus a Titus, ynghylch Esgobion a Diaconiaid. Efe a ddywed, "Rhaid gan hyny i esgob fod yn ddiargyhoedd, yn wr un wraig, yn wyliadwrus, yn sobr, yn weddaidd, yn llettygar, yn athrawaidd" (Tim. iii, 2). "Bydded y diaconiaid yn wyr un wraig, yn llywodraethu eu plant a'u tai eu hunain yn dda" (adn. 12). "Os yw neb yn ddiargyhoedd, yn wr un wraig, a chanddo blant ffyddlawn, heb gael y gair o fod yn afradlawn, neu yn anufydd: canys rhaid i esgob fod yn ddiargyhoedd, fel goruchwyliwr Duw" (Titus i, 6, 7). Mae dau feddwl gwahanol yn fynych yn cael eu cyssylltu â'r ymadroddion hyn:—Y cyntaf yw, meddylir y bwriadai Paul wahardd yr holl wyr sengl neu ddibriod rhag cael y swyddi o esgob a diacon wedi eu hymddiried iddynt; y gofynai efe iddynt fod yn briod, o leiaf, ag un wraig, fel rhag-barotoad i ordeiniad. Gan y rhai sydd yn cymmeryd yr olwg yma ar y pwnc, credir fod yn rhaid i ddyn, fel y dywed Paul, gael ei "brofi yn gyntaf," trwy briodi o leiaf "un wraig," gan "lywodraethu ei blant a'i dŷ ei hunan yn dda" ("obegid oni fedr un lywodraethu ei dŷ ei hun," medd Paul, "pa fodd y cymmer efe ofal dros eglwys Dduw?") Os yw yr olwg yma ar y pwnc yn gywir, yna nid oedd Paul yn bwriadu cyfyngu yr esgob

neu y diacon i un wraig, eithr bwriadu yn unig i ddangos fod yn rhaid iddo, fel cymhwysder, i fod yn briod, neu fod yn wr un wraig, cyn y gallai gael ei ordeinio i un o'r swyddi hyny. Yn ail, meddylir gan lawer nad oedd y swyddi hyn yn cael eu rhoddi i'r rhai hyny a feddent fwy nag un wraig. Os yw yr olwg yma ar y pwnc yn gywir (ac ymddengys yn eglur mai dyna feddwl y geiriau), yna y mae yn dra sicr fod llawer yn yr Eglwys ag a feddent fwy nag un; canys, os oedd yr aelodau dirgel a'r holl Eglwys wedi eu cyfyngu i un, buasai dysgeidiaeth Paul i'r esgobion a'r diaconiaid i fod yn wyr un wraig yn afreidiol gyfangwbl. Os nad oedd y fath arferiad yn ffynu yn yr Eglwys Gristionogol, yn lle cyfyngu y swyddogion hyn i un wraig, efe a orchymynai iddynt i beidio derbyn neb i'r Eglwys ag a feddai fwy nag un. Mae hyd y nod yr ymadrodd, "Rhaid i esgob fod yn wr un wraig," yn ddangosiad eglur fod llawer yn yr Eglwys ag oedd yn wyr i fwy nag un; ac ar gyfrif hyn yr oedd yn anghenrheidiol i Timotheus a Titus dderbyn cyfarwyddiadau o barthed eu dewis er eu hordeinio. Gall unrhyw ddyn weled, os nad oedd y fath arferiad yn cael ei ganiatâu yn yr Eglwys, na chrybwyllai Paul byth am y cymhwysder neillduol hwn er gwneuthur dewisiad o blith aelodau yr Eglwys. Os nad oedd neb aelodau yn meddu amledd, ni fuasai perygl i Timotheus ddewis aml-wreigiwr yn esgob; o ganlyniad, buasai y ddysgeidiaeth yn hollol ddiles. Meddyliwch ped ysgrifenai gweinidog yn Lloegr at ei frawd gweinidogaethol yn Llundain ynghylch ordeiniadau, a'i ddysgu i ddewis y fath bersonau o'i gynnulleidfa i'r swydd o ddiacon, ag nad oeddynt yn gadwyr caethweision, neu fod yn rhaid i'r diaconiaid fod yn berchenogion un caethwas yn unig. Ai ni fyddai y fath ddysgeidiaeth yn Lloegr yn hollol heb ei heisieu? Ac ai ni fyddai y person a ysgrifenai y fath hyfforddiad yn cael ei ystyried yn wallgof? Lle nad oes caethweision yn bod, ni chawsai y fath hyfforddiad byth ei roddi. Felly hefyd, os nad oedd aml-wreigiaeth yn bod yn yr Eglwys Gristionogol, ni fuasai Paul byth mor ffol â rhybyddio Timotheus o barthed i'r dewisiadau a wnaeth o blith aelodau yr eglwys hono. Mae hyn, o ganlyniad, yn dystiolaeth gadarnhaol arall fod yr athrawiaeth o aml-wreigiaeth yn cael ei chaniatâu o dan yr oruchwyliaeth Gristionogol.

Eithr os oedd yr aelodau dirgel yn yr Eglwys Gristionogol yn

cael caniatâd i gael mwy nag un wraig, paham nad hefyd yr esgobion a'r diaconiaid? Nid yw Paul wedi rhoddi i ni y rheswm. Mae yn eithaf tebyg mai y prif reswm oedd, fod y dyledswyddau pwysig a orphwysai ar y swyddogion hyn yn gofyn iddynt fod mor rhydd oddiwrth ofalon ereill ag oedd yn bosibl: neu fel y dywed Paul, mewn man arall, "Eithr mi a fynwn i chwi fod yn ddiofal. Yr hwn sydd heb briodi, sydd yn gofalu am bethau yr Arglwydd, pa wedd y boddlona yr Arglwydd: ond y neb a wreicäodd, sydd yn gofalu am bethau y byd, pa wedd y boddlona ei wraig" (1 Cor. vii, 32, 33). Gwyddai Paul mai dyma duedd cyffredinol dynolryw, a gwyddai nad oedd ond ychydig iawn o ddynion i'w cael y rhai a aberthent dai a thiroedd, gwragedd a phlant, a phob peth arall o natur ddaearol, er mwyn yr Efengyl; am hyny, diammau iddo ef ysgrifenu ei gyfarwyddiadau at Timotheus er dewis yn mhlith yr Eglwys aelodau nad oedd ganddynt ond un wraig, gan y byddent yn llawer mwy rhydd oddiwrth ofal nâ'r rhai hyny a feddent amryw wragedd a phlant yn ymddibynu arnynt am eu cynnaliaeth. Ni ddarfu i Paul na neb o'r apostolion ereill erioed ddarlunio fod aml-wreigiaeth yn bechod neu yn ddrwg yn ngolwg Duw. Nid ydym yn cael fod yr egwyddor yn cael ei chondemnio yn yr Hen na'r Newydd Destamentau. Pan oedd Paul yn cymmeradwyo Timotheus i ddewis o blith y Saint y rhai na feddent ond un wraig, nid yw yn rhoddi yr awgrymiad lleiaf fod y swyddogion hyny yn cael eu cyfyngu felly, oblegid y byddai mwy nag un wraig yn bechadurus. Nid oedd ond mater o anghenrheidrwydd yn unig, fel y gallent fod yn rhyddion oddiwrth ofalon teulu lliosog. Yr oedd llawer o ymarferiadau ag oedd amgylchiadau yn gofyn i weision Duw eu rhoddi heibio, nid oblegid eu bod yn bechadurus ynddynt eu hunain, eithr yn unig er cydymffurfio ag arferion amgylchynol. Er enghraifft, nid oedd yn bechadurus i fwyta bwyd wedi ei aberthu i eilunod; ac etto, rhag ofn i ryw frawd gwan gael ei wneyd yn hyf i ddilyn yr esiampl a bwyta gyda chydwybod i'r eilun, ac felly ddigio Duw, yr oedd yn dyfod yn fater o ddoethineb i roi yr ymarferiad heibio; am hyny, dyweda Paul, "Os yw bwyd yn rhwystro fy mrawd, ni fwytaf fi gig fyth, rhag i mi rwystro fy mrawd" (1 Cor. viii, 13). Yr oedd Paul yn rhoddi hyfforddiadau mewn llawer o bethau, yn gyfatebol i amgylchiadau: yr ydym yn ei gael, gan hyny, yn un o'i epistolau yn dywedyd, "wrth y

rhai heb briodi, a'r gwragedd gweddwon, Da yw iddynt os arosant fel finnau." A thrachefn, "A wyt ti yn rhydd oddiwrth wraig? na chais wraig." (1 Cor. vii, 8, 27.) Ac mewn epistol arall y mae yn ysgrifenu fel hyn:—"Yr wyf yn ewyllysio gan hyny i'r rhai ieuainc briodi, planta, gwarchod y tŷ, heb roi achlysur i'r gwrthwynebwr i ddifenwi" (Tim. v, 14). Yr oedd yr achos o'r hyfforddiadau gwrthwynebol hyn mewn ymddangosiad, yn cyfodi oddiwrth amgylchiadau cylchynol. Yr oedd y Corinthiaid wedi syrthio i lawer o ddrygau. Yr oedd ymraniadau, amrafaelion, puteindra, ymgyfreithio â brawd, ac amrywiol ddrygau ereill, yn bodoli yn eu plith. O dan y dylanwadau hyn, yr oedd Paul yn ofni i'r rhai ffyddlawn yn yr eglwys briodi, rhag iddynt gael cymdeithion drygionus ag a'u harweinient ymaith i ddystryw. Am hyny, efe a roddodd yr hyfforddiadau a ddyfynwyd uchod. Eithr mewn eglwysi ereill, lle nad oedd y fath ddrygau yn bodoli, ei ewyllys ef oedd iddynt ymbriodi. Yr oedd ei ddysgeidiaeth yn amrywio tuag at wahanol Eglwysi yn ol fel yr oedd eu sefyllfaoedd yn gofyn. Yr oedd amgylchiadau yn gofyn i Timotheus ddewis o blith y Saint y rhai nad oedd ganddynt ond un wraig, er cyflawni dyledswyddau pwysig Esgob a Diacon. Pe buasai y Saint yn llai cybyddlyd, ac yn foddlawn i aberthu pob peth fel ag y gwnaeth yr Apostolion ar y cyntaf, ni fuasai un anghenrheidrwydd am y ddysgeidiaeth hon. Gallasai Esgobion a Diaconiaid gael eu cymmeryd o blith y Saint hyny a feddent amryw wragedd, a hwy a adawsent bob peth yn rhwydd er mwyn yr Efengyl; eithr o ddiffyg dynion calonog felly, yr oedd gan Paul i gyfaddasu ei gyfarwyddiadau yn gyferbyniol. Yn mhlith yr amrywiol gymhwysderau ag a ofynid gan Timotheus i'w cadw mewn golwg wrth ddewis dynion yn Esgobion, fe ddywed Paul, "Ac y mae yn rhaid iddo ef hefyd gael tystiolaeth dda gan y rhai oddi allan, rhag iddo syrthio i waradwydd" (1 Tim. iii, 7). A oedd Paul yn rhoddi y cyfarwyddiadau hyn, oblegid ei fod yn ei ystyried yn bechod i gael gwaradwydd oddi wrth y rhai oedd oddi allan? Diau mai nid dyna oedd golygiadau Paul; canys yr oedd efe ei hun yn cael ei ddifenwi a'i waradwyddo pa le bynag yr elai. Dywed yr Iesu, "Gwyn eich byd pan y'ch casâo dynion, a phan y'ch didolant oddi wrthynt, ac y'ch gwaradwyddant, ac y bwriant eich enw allan megys drwg, er mwyn Mab y dyn. Byddwch lawen y dydd hwnw, a

llemwch; canys wele, eich gwobr sydd fawr yn y nef: oblegid yr un ffunud y gwnaeth eu tadau hwynt i'r prophwydi." "Gwae chwi pan ddywedo pob dyn yn dda am danoch; canys felly y gwnaeth eu tadau hwynt i'r gau-brophwydi" (Luc vi, 22, 23, 26). "Os galwasant berchen y tŷ yn Beelzebub, pa faint mwy ei dylwyth ef?" (Math. x, 25). Dywed Pedr, "Os difenwir chwi er mwyn enw Crist, gwyn eich byd" (1 Pedr iv, 14). Ond paham y dysgwyd Timotheus i ddewis i'r swydd o esgob y cyfryw ag oedd iddynt "dystiolaeth dda gan y rhai oddi allan, rhag iddo syrthio i waradwydd?" Ai o herwydd fod pawb ereill yn yr eglwys yn bechaduriaid? Ai o herwydd nad oedd neb a waradwyddid ac a ddifenwid er mwyn Crist, yn addas i'r swydd o Esgob? Ai o herwydd fod Duw yn condemnio pawb ag oedd y byd yn eu condemnio? Nage: nid o herwydd un o'r achosion hyn y rhoddai Paul yr addysg yma, eithr yn unig fel mater o angenrheidrwydd: yr oedd ereill, yn ddiammau, ag oeddynt yn gyfiawnach yn ngolwg Duw, ac yn addasach i'r swydd o Esgob, y rhai oedd y byd yn eu casâu a'u gwaradwyddo, ac yn dweyd pob math o ddrwg am danynt. Etto, Paul, o herwydd rhyw reswm, a'i hystyriai yn well i ddewis y cyfryw ag a ddywedai y byd yn dda am danynt. Gallai mai ei ddyben oedd llonyddu yr ysbryd erlidgar ag oedd y pryd hyny yn cynddeiriogi y rhai oddi allan. Yr oedd ei gyfarwyddiadau wedi eu cyfaddasu at amgylchiadau cylchynol o barthed i hyn, megys ag o barthed eu bod yn wyr un wraig. Nid oedd yn fwy pechadurus i fod yn wr amryw wragedd, nag oedd i gael gwaradwydd a gair drwg oddiwrth y rhai oddi allan. Yn y cyntaf, ei ddyben oedd cael yr Esgobion yn rhydd oddiwrth ofalon lliosog teulu mawr, ac yn yr ail i lonyddu gelyniaeth y gelyn, trwy ddewis y rhai hyny ag oedd â gair da iddynt yn eu mysg hwynt.

Rhyngai fodd i ni weled rhai o dduwinyddion doeth ein hoes yn dwyn hyd y nod un ymadrodd allan o'r Hen Destament neu y Newydd, er profi fod amledd gwragedd yn ddrwg. Bydded iddynt ddwyn rhyw ymadrodd, os gallant, er dangos fod y fath arferiad yn bechadurus, naill ai dan yr oruchwyliaeth batriarchaidd, Moesenaidd, neu Gristionogol. Bydded iddynt ddangos nad oedd yr arferiad yn cael ei barhau dan yr oruchwyliaeth Gristionogol. Pa le a pha bryd y gwnaeth ein Hiachawdwr erioed ei gondemnio? Pa le a pha bryd y darfu i rai o'i Apostol-

ion ef ei gondemnio? Dyna, ynte, i chwi weinidogion y byd Cristionogol, rai gofyniadau dwys er i chwi eu penderfynu. A fynech chwi argyhoeddi "Mormoniaid" Tiriogaeth Utah, o'r ymarferiad hwn?—dangoswch iddynt ei fod yn bechadurus neu yn anysgrythyrol. Nid cynt y swniwyd ef ar led trwy golofnau y *Seer* fod y Saint yn Utah yn credu ac yn ymarfer ag amledd gwragedd, nag y darfu i'r fyddin gyfan o olygyddion a gweinidogion trwy y byd Cristionogol ymfyddino; rhuad eu magnelau a glywir yn adseinio o genedl i genedl, megys pe diddyment ddinasyddion tlawd Utah ag un laddfa ddychrynllyd. Melldithion, bygythion, a gwawd, a arllwysir allan fel ffrydlif ar eu penau. Mae yr holl eir-lechres Seisnig wedi ei gwaghau er cael llysenwau a sarhad yn ddigon arwyddocäol o'u harswyd santaidd hwy. Eithr yn y rhyfel santaidd hwn, pa le y mae'r golygydd neu y gweinidog a all ysgwyd cleddyf y gwirionedd yn erbyn yr hyn y mae yn gondemnio? Pa le y mae Goliath duwinyddol y byd Cristionogol presennol, a all sefyll o flaen ceryg tafl y gwirionedd, fel ag y saethir hwynt trwy allu Duw Israel i ganol gwersyll y gelyn? Bygythion nid ydynt resymau—ni wna melldithion a sarhad argyhoeddi y dealltwriaeth na goleuo dynolryw. Golygyddion a gweinidogion a gant rai dynion doeth etto ar y ddaear, y rhai nid oes arnynt ofn y Beibl, na gwirioneddau Beiblaidd; wrth y gyfraith gyssegredig hono y ffurfiant eu barn, ac nid ar draddodiadau poblogaidd na bygythion penboethiaid. Mae doethion Babilon yn synu—golyddion yn rhyfeddu—gweinidogion yn brawychu—crefydd-dwyll yn crynu hyd at ei chanol, a'r Diafol a'i angylion yn gynddeiriog wrth feddwl mai ar ol eu holl ymdrechiadau unol i roi attalfa ar ledaeniad y "*twyll ofnadwy*" fel ei gelwir, ei fod etto yn ffynu gyda llwyddiant digyffelyb yn mhlith pob cenedl lle y mae wedi ei gyhoeddi. Pa fodd y mae, a ofyna y gwladwriaethwr doeth, fod y fath dwyll digywilydd yn argyhoeddi ei ddegau o filoedd yn flynyddol yn mhlith cenedloedd mwyaf gwareiddiedig y ddaear? Pa beth yw y dirgelwch o'i lwyddiant? Ni a hysbyswn i chwi, Mr. Gwladwriaethwr. Y mae llawer o ddegau o filoedd o ddynion gonest ac uniawn, y rhai, er gwaethaf crefydd-dwyll, a chwiliant drostynt eu hunain, ac wrth wneuthur felly, cant allan nad yw "Mormoniaeth," yr hon a elwir gan olygyddion a phregethwyr yn "dwyll digywilydd," erioed etto wedi cael ei phroñ yn gyfryw—maent yn cael

allan fod gwaeddi twyll yn un peth, a bod profi twyll yn beth arall—ymresymant ynddynt eu hunain, os yw "Mormoniaeth" yn fath "dwyll gwael," paham na fuasai rhyw gawr o dduwinydd yn alluog, ar ol dros ugain o flynyddoedd, ei phrofi felly? Cant allan fod y byd wedi ei ddiluwio â llyfrau, pamphletau, cyhoeddiadau, golygyddion, gweinidogion, terfysg-luoedd, a llofruddion, i gyd yn gwaeddi, "Gochelwch rhag Mormoniaeth." "Gochelwch rhag y twyll enaid-ddinystriol hwna!" "Gochelwch rhag y Mormoniaid drygionus, bwystfilaidd, a phenrhydd!!" "Gochelwch rhag Aml-wreigiaeth y Mormoniaid!!!" "Mae Mormoniaid Utah yn Aml-wreigwyr!!!" "O, mor enbyd!" "O, mor ddychrynllyd!" "O, mor ffiaidd!" "Pwy a allasai gredu!" "Ai ni all y Cadfridog Pierce wneyd rhywbeth er gosod attalfa ar y drwg enbyd hwn!" "Er rhwystro y drygau o ryfel cartrefol, dylid gwneyd i'r Mormoniaid ufyddhau y cyfreithiau!" Dyna y fath resymau, Mr. Gwladwriaethwr, y mae dynion doeth a hynaws yn glywed yn ebyn y twyll a elwir felly. Maent drachefn yn adfyfyrio, os yw "Mormoniaeth" yn ddiau yn fath dwyll dychrynllyd, ac os yw amledd o wragedd mewn gwirionedd mor bechadurus ac anysgrythyrol,—paham na fuasai rhyw resymau teg—rhyw brofion ysgrythyrol yn cael eu dwyn allan i argyhoeddi y dealltwriaeth a goleuo y meddwl, ac i ddangos natur y twyll, a phaham, ac yn mha beth y mae yn dwyll? Paham, meddant hwy, y mae'r holl gollfarnau hyn yn cael eu pentyru ar Saint y Dyddiau Diweddaf, heb un rheswm arbwyllegol, neu brawf ysgrythyrol er eu cadarnhau.

Os yw golygyddion a gweinidogion yn ewyllysio gosod attalfa ar dreigiad olwynion mawrion "Mormoniaeth," cynghorem hwynt i dreio cynllun arall. Yr ydych wedi cael allan fod rhoi enwau drwg a gwaeddi twyll wedi eu treio yn ofer. Mae y fath sothach gwag yn myned yn hen; nid yw yn cael ei dderbyn fel prawf gan y cyhoedd meddylgar. Nid ydynt hwy yn awchus yn ei lyncu; maent am rywbeth mwy sylweddol. Bydded i dduwinyddion gefnogu eu gwaedd o dwyll, trwy ymresymiad da a safadwy—trwy brofion allan o air Duw. Bydded i olygyddion ac awdwyr, am unwaith, ddangos eu hunain yn ddynion o synwyr; bydded iddynt, am unwaith, apelio at y gyfraith a'r dystiolaeth, a dynoethi "Mormoniaeth" yn ysgrythyrol; bydded iddynt, am unwaith, brofi i'r byd fod athrawiaeth Saint y Dyddiau Diweddaf

yn gau; bydded iddynt ddangos allan o air Duw fod amledd o wragedd yn bechadurus neu yn anysgrythyrol. Os mabwysiadant, am unwaith, y cynllun hwn, hwy a gant allan y bydd o fwy pwys yn meddyliau cyhoedd deallgar a meddylgar, nâ'r holl wawd, sarhad, a'chollfarnau poblogaidd a all y diafol ei ddyfeisio. Treiwch ef, a mynwch weled. Os profwch fod "Mormoniaeth" yn dwyll; os dangoswch trwy air Duw nad yw amledd o wragedd yn cael ei gymmeradwyo dan oruchwyliaeth yr Efengyl, fel o dan goruchwyliaethau blaenorol, chwi a oleuwch feddyliau pobl Utah yn fawr. Na thybiwch am ddisgynyddion ein pererinol dadau—meibion a merched deallgar Taleithiau Lloegr Newydd—dinasyddion y Werin-wladwriaeth fawr hon, gan fod wedi eu haddysgu dan ddylanwad iachusol y sefydliadau Americanaidd,—y rhai ydynt yn awr yn trigo yn alltudiedig yn y Diriogaeth Fynyddig, eu bod gymmaint ar goll yn nyfnderau anwareidd-dra—mor soddedig yn llynclyn angeuol twyll—mor annhreiddiol i resymau cedyrn ac ymresymiad arbwyllegol—mor ddall i'r gwirioneddau mawrion a gynnwysir yn ngair Duw, nes y maent islaw pob gobeithion i'w hadferu. O leiaf, gwnewch yr ymdrech am unwaith; argyhoeddwch hwynt o'u cyfeiliornadau mewn athrawiaeth neu eu cyfeiliornadau mewn ymarweddiad. Bydded i genadon gael eu danfon i'w mysg; ymddygir tuag atynt gyda'r parch mwyaf; agorir tai cyrddau iddynt yn rhydd o bob cost; daw y bobl allan wrth y degau o filoedd i wrandaw er rhesymau cedyrn, ac os byddant yn alluog i brofi "Mormoniaeth" yn dwyll, hwy a argyhoeddent y mwyrif mawr o'r Diriogaeth. Dyma, ynte, faes rhagorol at anturiaeth genadol. Eithr gadewch i ni eich rhybyddio i ddanfon dynion nad oes arnynt ofn gair Duw. Bydded i ddynion gael eu danfon na wnelo gyhuddiadau, ond y cyfryw a allont eu profi; canys y mae trigolion Utah yn meddu gormod o synwyr i gael eu twyllo a'u hudo felly; maent wedi cael gormod o brofiad i gredu yr oll a ddyweda cenadon a golygyddion heb brawf; maent yn meddu gormod o onestrwydd a dymuniad am y gwirionedd, i gredu peth yn wir neu gau o herwydd fod arferion hir-sefydlog a phoblogrwydd yn ei gymmeradwyo. Mae pobl Utah yn gwrandaw ac yna yn barnu; meddyliant drostynt eu hunain, ac nid ydynt yn cyflogi gweinidogion a golygyddion i feddwl drostynt. Deuwch, ynte, chwi gymdeithasau cenadol, mynwesau pa rai a gynhesant

tuag at y paganiaid tywyll ac anwybodus mewn gwledydd tramor, deffrowch tuag at sefyllfa arswydus Saint y Dyddiau Diweddaf yn eich gwlad eich hunain; danfonwch allan eich ysbrydion penaf—eich Calfinwyr—eich Lutherwyr—eich Wesleywyr; bydded i daranau eu hyawdledd gael eu clywed ar benau y mynyddoedd; bydded i ddyffrynoedd Utah gael eu hadfywio gan eu harllwysiadau ardderchog; bydded i'r bryniau a'r mynyddoedd adseinio y newyddion da, nes y clywo pob clust, ac y treiddier i bob calon. Llais a glywir o Utah, yn dywedyd, Deuwch drosodd a chynnorthwywch ni; dysgwch ni ynghylch ein cyfeiliornadau; argyhoeddwch ni o'n twyll, os meddwn ef; gosodwch ni ar hen lwybrau da Cristionogaeth gyntefig, os nad ydym eisoes yn rhodio ar hyd-ddynt; cymmerwch ni gerfydd y llaw, ac arweiniwch ni i'r goleuni, os ydych yn ystyried ein bod mewn tywyllwch; profwch i ni mai twyll yw Llyfr Mormon, fel y cyfiawnhaer ni i'w wrthod; argyhoeddwch ni fod amledd o wragedd yn groes i'r Efengyl; tywyned eich goleuni ar y mynyddoedd ac ar uchelfanau y ddaear, fel ysgatfydd, y gallo Utah gael ei goleuo—o leiaf, fel gallo weled rhywfaint o brydferthion cymdeithas wareiddiedig. Mae trigolion y wlad dywell hono wedi suddo cyn belled yn nyfnderau anwareidd-dra, fel na oddefant i butain gyhoeddus fyw yn y Diriogaeth: ni ystyrir godinebwr neu hudwr yn addas i fyw yn y wlad anwaraidd hono. Nid yw yr addurniadau hyn o eiddo cenedloedd gwareiddiedig a Christionogol, ddim etto yn addurno dinasoedd a threfydd Utah. Nid yw melldithio, rhegu, hapchwareu, meddwi, lladrata, brawd yn ymgyfreithio â brawd, ymladd, cweryla, a phethau cyfelyb o eiddo cymdeithas wareiddiedig, ddim etto wedi dyfod i gaboli a phuro moesau y bobl dywylledig a thywyll hyny. Y cenadon, gan hyny, a gant waith mawr i'w gyflawni er adferu y "Mormoniaid" oddiwrth eu holl arferion anwaraidd a dirmygedig, a'u caboli a'u haddurno â holl brydferthion gwareiddiad. Eithr na fydded iddynt wangaloni; os gallant hwy brofi fod mwy o oleuni ganddynt nâ'r Saint, gallant fod yn sicr o lwyddiant, ac yr argyhoeddir y bobl gyda'u gilydd.

(*I'w barhau.*)

---

## YMDDYDDAN RHWNG AELOD, PARCHEDIG, FICER, A SANT.

TON—" Belisle March."

*Aelod.*

Y MAE arwyddion trist echryslon,
A blinion droion draw;
Yr awyr feichiog sydd yn drwmlwythog,
A llidiog ddydd gerllaw.
Y chwyrnfellt wybiant, a fflamgoch saethant,
Taranau rhuant hwy;
Ni fydd gan deulu y gwawd a'r cablu,
Un man i lechu mwy:
Pwy wrendy ar fy nghwyn? 'does imi fynyd fwyn;
Mae poenau'r blinfyd yn difa 'mywyd;
O'r gofid wyf yn ddwyn.
Pa beth a dd'wedaf pan d'welltir arnaf,
Y gafod dromaf drist,
Am wrthwynebu, a gwrthod credu
Efengyl Iesu Grist?
Mae'n bryd i mi ddeffroi, a rhag y farn osgoi;
'Does imi nodded, na dydd o arbed,
Ymwared er ymroi:
*Ewyllys-grefydd* a'm difa beunydd,
'N aflonydd fel yr haint:
O, rhagddi ffoaf, am fywyd rhedaf,
At grefydd bur y Saint.

*Parchedig.*

Clyw, ddyn, arafa; pa beth yw'r gnofa,
A'r flin ennynfa hon?
Ai'r Seintiau anfad, y gethern anllad,
Roes friwiad i dy fron?
Na chred ond hyny y gau-brophwydi,
Hen deulu'r fagddu fawr,
A gad i waelion hyll deulu Mormon,
Ysgubion llwydion llawr:
Argoelion hyfryd sydd o degwch nos a dydd,
Mae gwylwyr deillion ar dyrau Seion,
Rhyw hinon fawr a fydd.
O blant y t'wyllwch, na ddigalonwch,
Mae heddwch yn mwyhau;
Mewn cyflwr diddos 'ry'ch chwi 'yn aros,
Mae haf yn agoshau.
Mae'r cryf yn gwneyd ei ran i gynnal baich y gwan,
Mae dydd coel-grefydd yn gwella beunydd,
Cewch lonydd yn y man:
Yn enw swynol fy Nuw dych'mygol,
'Rwy'n dweyd o frawdol fryd,

Er gwaetha'r *Seintiau*, yn afon angeu,
Cewch foddi'ch beiau i gyd.

*Aelod.*

'Does gan fygythion nac addewidion,
Y gau-athrawon gwael,
Un swyn i'm gofid, all buro'm bywyd,
Na gwynfyd imi i'w gael;
Ac ni weinydda eu duwinyddiaeth,
Un feddyginiaeth fâd,
Mae twyll a g'lanas Parchedig urddas,
Yn lluddias fy ngwellhad.
Er addaw iechyd cain, 'rwyf fi mewn nyth o ddrain,
Fal rhwng y dreigiau sy'n llawn colynau,
A blin rwygiadau 'rhai'n;
Er gwaeddi rhyddid, 'rwyf fi mewn adfyd,
A gwaefyd byth a gaf;
Er gwaeddi noddfa, af i gehenna,
Os aros yma wnaf.
Marsiandiaeth uffern fawr, sy'n lladd trigolion llawr,
A rhyw gyflafan, a gwae, a griddfan,
Annyddan sydd yn awr;
Y Parchedigion, fel bleiddiau blinion,
Sy'n 'sglyfio'n fawr eu gwanc,
Mewn rhith tosturi am fywyd imi,
Er hyny'n troi mewn tranc.

*Parchedig.*

Ow! 'r adyn penwan, truenus, aflan,
Annyddan yw dy ddydd,
Gan afiach gredo 'rwyt yn y bendro,
Ar ffo i wadu'r ffydd.
Hen ffydd ddireol, y sectau duwiol,
Bartïol ddenol ddawn,
Sy'n troi ugeiniau i dŷn gadwynau,
Y boreu a'r prydnawn.
Hen grefydd Mormon gynt, sy'n berio'r pedwar gwynt;
Mae'n rhaid taw hono sy gwedi'th foedro,
A'th hudo ar ei hynt.
Er hyll gigyddio, y lladd, a'r llarpio,
'Does modd niweidio hon,
Ei nerthoedd enbyd sy'n awr yn ysgwyd,
Pwerau'r byd o'r bron.
Mae'r byd yn berwi'n boeth, fel safn uffern noeth;
Mae gwae a dychryn ar sodlau'n canlyn
Y dwlyn fel y doeth:
Myn Baal a Dagon, rhaid attal weithion,
Hên *grefydd* Mormon mawr;
O gwared rhagddi, mae wedi'm poeni,
A'm llethu'n llwyr i'r llawr.

*Ficer.*

O, ffei'r parchedig, un gwan methedig,
Anniddig yw dy nâd ;
Mae'n chwith gan 'ffeiriaid fod y Mormoniaid,
Yn gwel'd ein twyll a'n brâd.
Mi saetha'n bybyr fwledau papyr
Drwy gaer eu rhagfyr hwy ;
A'm cleddyf brwynen gosodaf ddiben,
Ar eu tynghedfen mwy ;
A'm nerthol fraich yn awr, mor drom â phluen fawr,
Y Saint erlidiaf, plant y Goruchaf,
A gyraf fel rhyw gawr :
Drwy nerth y *Pader* a'r *Common Prayer*,
Myfi y Ficer fydd,
A'm palfau teneu yn nghedyrn ochrau
Y Seintiau nos a dydd :
I'r bwystfil rhoddaf ran o gynnyrch f'enaid gwan,
I dduw y fagddu ca'r lluman godi
Cyfuwch â chlochdŷ'r llan.
Gan boen a gwewyr mae Ficer Merthyr,
A'i ben dan gur a bâr ;
Fel baedd amrosgo gwnaf innau etto,
I dwrio Aberdâr.

*Sant.*

Y Parchedigion, Ficeriaid gwirion,
Athrawon deillion sydd,
Yn uchel ochi, dan gnofa'n gwaeddi,
O Lerpwl i Gaerdydd,
O Aberdar i Aberdaron,
O Fon i'r Feni'n fyw,
Am waed y gwirion, mae'r lladdedigion
Er difa gweision Duw;
Mae dyddiau'n agosâu y gwelir Babel gau
Dan draed yn trudar fel cywion adar,
Yn gynnar gwna lesgâu ;
Daw dydd gorthrymder—gwae goron balchder,
A meibion trawsder trwch,
A lwyr ddymchwelir, fel tomen sethrir,
Eu llyncir yn y llwch.
Y gareg dorwyd draw o'r mynydd nid â llaw,
Mae dydd ei threigliad yn ei ddechreuad,
Chwilfriwiad sydd ger llaw ;
Bydd llu y creulon fel sofl crinion,
Neu bentewynion tân ;
Ca'r beilch eu mathru, a'r delwau'u sathru,
A'u malu'n yfflon mân.

Ac wele, 'r awrhon yn mynydd Seion,
Gwaredfan dynion Duw,
Y bydd ymwared a helaeth arbed
I bawb sy'n caru byw;
Pan ddelo pläau ac echrys heintiau,
A newyn, nodau 'nawr,
Y Saint er llechu a wnant lewyrchu,
Yn nydd y drycin mawr.
I'r bwystfil drwg ei rân, a'i deulu'n fawr a mân,
Fel crinion friwwydd ar hyd y maesydd,
Tŷ Jacob fydd yn dân;—
I holl deyrnasoedd y cenedloedd,
Yn gyhoedd wnant ar gam,
Fel gwawn y gwaenydd, a mwlwg mynydd,
Tŷ Joseph fydd yn fflam;
'Nol hyn goleuni'r Saint, gynnydda'n fawr ei faint;
Bydd gwaredigion ar fynydd Seion,
Yn mhell o boen a haint;
Banerau rhyddid a chwifiant hefyd,
Drwy gylch yr hollfyd mawr,
Llais cân a moliant a uchel seiniant,
Mewn lloniant dros y llawr.

*Llanelli.* DEWI ELFED.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CYFEILLGARWCH a gynnydda ein dedwyddwch, ac a leiha adfyd, trwy ddyblu ein llawenydd, a rhanu ein gofidiau.

NA ddewiswch gyfaill yn ddisymmwth, ac na wnewch neb yn gyfaill mynwesol cyn cael prawf o'i gywirdeb.

GWNEWCH eich hunain yn gymmeradwy gyda dynion doeth trwy eich rhinwedd; ac ennillwch y difoes trwy eich moesgarwch.

---

TALIADAU o MAI 6 HYD MAI 12.—Sir Fon, 14s; Dyffryn Conwy, 10s; Ffynnon-Tydfil, 2s; Troedyrhiw, 1s 6c.—Cyfanswm, £1 7s 6c.

☞ Gellir cael genym lawer o rifynau *odd* o Brophwyd y Jubili, Udgorn Seion, Llyfr Mormon, a'r Ath. a Chyf. Byddai yn ddoeth i'r Cangenau brynu rhai er gwneyd cyfrolau i fyny, ac felly i gael gwerthu eu hen *stock*.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 21.] MAI 21, 1853. [CYF. V.

## LLUN A MAINTIOLI YSBRYDION.

[Allan o'r "Seer."]

ANIFEILIAID a llysiau, y naill fel y llall, ydynt gyfansoddedig o ddau o sylweddau tra gwahanol yn eu natur, sef corff ac ysbryd. Y corff sydd gyfansoddedig o amrywiol fathau o ddefnydd, megys *oxygen*, *hydrogen*, *nitrogen*, *carbon*, *lime*, &c. Y rhai hyn, wedi eu hymuno neu eu fferyllol gyd-gyssylltu, a ffurfiant mewn anifeiliaid gnawd, esgyrn, rhedweliau, gwythienau, gïau, gewynau, cyhiriau, croen, a'r holl amrywiol ranau o'r babell anifeilaidd; a'r rhanau hyn wedi eu priodol reoleiddio, a ffurfiant y neillduolion anianol a hynodant y rhywiogaethau. Trwy ymuniad a rheoleiddiad o'r elfenau uchod, y mae gwreiddiau, boncyffiau, cangenau, dail, &c., coed a llysiau ereill wedi eu ffurfio. Yn gyssylltiedig â'r cyrff corfforol hyn cyfansoddedig o ddefnyddiau garwaf natur, mae defnydd sylweddol arall a elwir ysbryd, purach yn ei natur, yn meddu rhai priodoliaethau cyfunol â defnyddiau ereill, a sylweddau ereill yn tra rhagori ar ddefnyddiau ereill. Nid yw bywyd llysiau ac anifel yn ddim mwy na llai nag ysbryd llysiau ac anifel. Ysbryd llysiau sydd yr un ddelw a chyffelybrwydd â'i babell, ac o'r un maintioli, oblegid fe leinw bob rhan o honi. Y mae yn abl bodoli mewn ffurf reoleiddiedig cyn ei ddyfodiad i'w dŷ llysieuol, ac hefyd wedi ei ymadawiad o hono. Pe gwnelsid ysbryd pren afalau yn ganfyddadwy pan yn wahanedig oddiwrth ei babell naturiol, ymddangosai yn yr un ffurf, cyffelybrwydd, a maintioli â'r pren afalau naturiol; ac felly y mae gydag ysbryd

pob pren arall, neu laswelltyn neu borfayn—ei lun—ei faintioli, a'i ymddangosiad, a ymdebygolant i'r babell naturiol rhagfwriadol i'w anneddu. Yr ysbryd cyfansoddedig yw yr hyn a amlyga fywyd; yr ysbryd sydd yn bywhau y llysieuyn, yn achosi iddo dyfu, yn ffurfio ei amrywiol ranau, yn ei gadw rhag adfeilio, yn ei alluogi i flaguro, a blodeuo, a dwyn allan hadau. Pan yr ymedy y llysieuyn ysbrydol, adfeilia yr un daearol, a dychwel i'w elfenau cyntefig; eithr ei ysbryd, drwy ei fod yn sylwedd bywydol, a barha yn ei ffurf cyfansoddedig, cymhwys i ddedwyddwch yn ei gylchdro ei hun, a gwnaiff etto gyfanneddu pabell nefol pan y gwneir pob peth yn newydd. Ysbryd pysgod, adar, bwystfilod, pryfed, a'r eiddo dyn, ydynt yr un llun a chyffelybrwydd â'u cyrff anianol o gnawd ac esgyrn, ac o'r un maintioli; yn llanw pob rhan o'r cyfryw. Y sylwedd ysbrydol hwn, ac nid y corff, sydd yn gweled, clywed, archwaethu, aroglu, teimlo, synied, mwynhau, dyoddef, ac amlygu pob serch neu nwyd arall a hynoda y greadigaeth anianyddol. Y sylwedd hunan-symudol nerthol hwn sydd yn bywiogi, bywhau, a symud y corff naturiol, ac yn ffurfio, a llunio pob rhan,—sydd yn diogelu y rheoleiddiad rhag nychdod a marwolaeth. Ni ddadwneir un o ysbrydion yr holl greadigaeth anifeilaidd drwy farwolaeth y corff, eithr y maent yn alluog i deimlo, synied, symud, mwynhau, a dyoddef allan o'r corff, yn gystal ag ynddo. Maent yn dragywyddol, a bodolant am byth, yn meddu cymhwysderau i fwynhau llawenydd a dedwyddwch.

Ysbrydion llysiau ac anifeiliaid, y naill fel y llall, ydynt anweledig i'r llygad naturiol; nid ydym, gan hyny, yn gwybod, nac yn ddeall eu natur mor drwyadl ag y gwnawn lawer o sylweddau ereill, pa rai sydd fwy uniongyrchol gyffyrddadwy i'n synwyrau; hyn yw y rheswm fod Solomon yn gofyn, "Pwy a edwyn ysbryd dyn yr hwn sydd yn esgyn i fyny, a *chwythiad anifel* yr hwn sydd yn disgyn i waered?"—Preg. iii, 21. Mae Solomon, drwy y rhan hon, yn eglur ddangos fod ysbryd gan anifel, yn gystâl â chan ddyn.

I fod llysiau, yn gystal ag anifeiliaid yn feddiannol ar ysbrydoedd, sydd hawdd ryfeddol i'w ddirnad oddiwrth y ffaith o'u bod yn gallu gorfoleddu a chanu. Y Salmydd a ddywed, "Gorfoledded y maes, a'r hyn oll sydd ynddo: yna holl breniau y coed a ganant o flaen yr Arglwydd: canys y mae yn dyfod, canys y

mae yn dyfod i farnu y ddaear."—Salm xcvi, 12, 13. Gan fod yr "oll sydd yn y maes," a "holl breniau y coed yn gorfoleddu," gorfodir ni i gredu fod pob llysieuyn, pa un ai mawr ai bychan a fyddo, yn meddu ysbryd bywydol, deallgar, yn medru teimlo, gwybod, a gorfoleddu yn ei gylchdro. Un o'r ysgrifenwyr ysbrydoledig a'n dysga fod y greadigaeth anifeilaidd wedi eu cynnysgaethu â doethineb mawr. Dywed, "Y mae pedwar peth bychain ar y ddaear, ac y maent yn ddoeth iawn: nid yw y morgrug bobl nerthol, etto y maent yn darparu lluniaeth yn yr haf; y cwningod nid ydynt bobl rymus, etto hwy a wnant eu tai yn y graig; y locustiaid, nid oes brenin iddynt, etto hwy a ant allan yn dorfeydd; yn pryf copyn a ymafaela â'i ddwylaw, ac y mae yn llys y brenin."—Diar. xxx, 24—28. Clywodd Ioan yr holl greadigaeth anifeilaidd yn clodfori Duw, a gwneyd defnydd o iaith ddeallgar. Dywed fod "Pob creadur a'r sydd yn y nef, ac ar y ddaear, a than y ddaear, a'r pethau sydd yn y môr, a'r oll a'r sydd ynddynt, a glywais i yn dywedyd, I'r Hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac i'r Oen, y byddo y fendith, a'r anrhydedd, a'r gogoniant, a'r gallu, yn oes oesoedd."—Dad. v, 13. Gwelwn oddiwrth hyn y bydd pob ehedyn, pysgodyn, bwystfil, ac ymlysgiad, yn feddiannol ar ddoethineb, a gwybodaeth fawr; byddant yn gwybod am Dduw a'i orseddfainc, ac am yr Oen; a byddant yn ymddyddan mewn modd deallgar am ei "anrhydedd, a'i ogoniant, a'i allu." Yn awr, nis gallasent feddu doethineb, gwybodaeth, iaith, a dealltwriaeth o barthed i briodoliaethau Duw, a'r eiddo ei Fab, oddigerth eu bod yn meddu meddwl, neu ysbryd deallgar yn gystal â dyn.

Wedi profi fod pob un o fodau y deyrnas lysieuol ac anifeilaidd yn cynnwys ysbryd bywydol, meddiannol ar gymhwysderau synwyrol, ymholwn yn nesaf o barthed i lun neu ffurf yr ysbrydion hyn, fel eu harddangosir mewn amrywiol ranau o'r ysgrythyrau. Ystyria yr annefnyddydd (*immaterialist*) fod pob sylwedd ysbrydol heb na ffurf na maintioli, nac unrhyw berthynas â lle neu barhad.* Nid anturiwn yn yr erthygl hwn i wrth-brofi y dychymmygion afresymol hyn, eithr cawn gymmeryd fod pob sylwedd ysbrydol yn ddefnydd ag iddo ffurf, a maintioli, ac holl briodoliaethau anghenrheidiol defnydd arall; ac ei fod mewn ychwanegiad i'r rhai hyn, yn meddu y cymhwysderau o ddeallgar-

* Gwel draethawd O. Pratt ar "Absurdities of Immaterialism."

wch a hunan-gyffroad. Bod ffurf yr ysbryd yn nghyffelybiaeth y corff, sydd eglur oddiwrth y desgrifiad o ysbryd Samuel, yr hwn a ymddangosodd i Saul, ac a ymddyddanodd ag ef. Ysbryd Samuel a welwyd yn gyntaf gan y wraig â pha un yr oedd Saul yn ymddyddan. "A'r wraig a ganfu Samuel, ac a lefodd a llef uchel: a'r wraig a lefarodd wrth Saul, gan ddywedyd, Paham y twyllaist fi? canys ti yw Saul. A'r brenin a ddywedodd wrthi hi, Nac ofna: canys beth a welaist ti? A'r wraig a ddywedodd wrth Saul, Duwiau a welais yn dyrchafu o'r ddaear. Yntau a ddywedodd wrthi, Pa DDULL sydd arno ef? A hi a ddywedodd, Gwr hen sydd yn dyfod i fyny, a hwnw yn gwisgo mantell. A gwybu Saul mai Samuel oedd efe, a efe a ostyngodd ei wyneb i lawr, ac a ymgrymodd."—1 Sam. xxviii, 12—14. Deallir mai dull ysbryd Samuel oedd "hen wr," yn "gwisgo mantell." Yn awr, nis gallasai hwn fod yn gorff Samuel, oblegid yr oedd hwnw yn malurio yn y bedd; gan hyny, rhaid mai ei ysbryd oedd. Oddiwrth y dull a feddai yr ysbryd hwn, galluogwyd Saul i "*wybod mai Samuel oedd efe.*" Saul, wedi ymgrymu i lawr o flaen Samuel, a ymddyddanodd ag ef: a Samuel a brophwydodd iddo ef, ac a ddywedodd wrtho pa beth a ddygwyddai i Israel; ac y byddai iddo ef a'i feibion gael eu lladd y dydd canlynol, a dyfod o honynt i'r byd ysbrydol gydag ef.

Pan gafodd y tri Hebrewyr eu bwrw i'r ffwrn o dân, Nebuchodonosor a synodd, ac a "ddywedodd, Wele fi yn gweled pedwar gwyr rhyddion yn rhodio yn nghanol y tân, ac nid oes niwed arnynt; a DULL y pedwarydd sydd debyg i Fab Duw."—Dan. iii, 25. Rhaid mai corff ysbrydol Mab Duw oedd y pedwerydd gwr hwn, yn rhodio yn y tân, neu ryw gorff ysbrydol tebyg iddo. Cyffelyb hefyd oedd ffurf y corff ysbrydol hwn i ddull dyn; am hyn y dywedodd, "Wele fi yn gweled pedwar gwyr rhyddion."

Gwelodd y dadguddydd Ioan, ysbrydion y merthyron, yr hyn a ddesgrifia efe fel y canlyn:—"A phan agorodd efe y bummed sêl, mi a welais dan yr allor eneidiau y rhai a laddesid am air Duw, ac am y dystiolaeth oedd ganddynt; a hwy a lefasant â llef uchel, gan ddywedyd, Pa hyd, Arglwydd santaidd a chywir, nad ydwyt yn barnu, ac yn dïal ein gwaed ni ar y rhai sydd yn trigo ar y ddaear? A gynau gwynion a roed i bob un o honynt; a dywedwyd wrthynt, ar iddynt orphwys etto ychydig amser,

hyd oni chyflawnid rhif eu cyd weision, a'u brodyr, y rhai oedd i gael eu lladd, megys y cawsant hwythau."—Dad. vi, 9—11. Rhaid fod ffurf i'r ysbrydion hyn, onide nis gallasai Ioan eu gweled: yr oeddynt yn medru llefaru â llef uchel, a gwisgo gynau gwynion. Pe na feddai ysbryd ffurf, nis gallasai na llefaru na gwisgo dillad. Yr ydym eisoes wedi gweled fod ysbryd Samuel wedi ei wisgo â mantell, tra yr oedd y rhai a welodd Ioan, â gynau gwynion wedi eu rhoddi iddynt. Yr ymadroddion hyn a brofant fod ysbrydion ar lun neu ddelw y babell o gnawd, fod ysbryd Mab Duw yn gyffelyb i ddyn cyn iddo gymmeryd arno gnawd, a'i fod yn nghyffelybrwydd ffurf ei gorff o gnawd, i ba un yr aeth mewn amser canlynol.

Llun neu ffurf ysbrydion bwystfilod ydynt yr un ddelw â'u cyrff naturiol. Pan y cymmerwyd Elias i'r nef, cafodd yr anrhydedd o farchogaeth yn ei gerbyd, yr hwn a lysgwyd gan feirch. —2 Bren. ii, 11, 12. Pan anfonodd brenin Syria feirch a cherbydau, a llu mawr, i gyrchu Eliseus, y prophwyd, a'i ddwyn yn garcharor i fyddin y Syriaid, gwas y prophwyd, yn gweled ei feistr yn cael ei amgylchynu â'r fath lu dychrynllyd, oedd mewn braw mawr o barthed i'w ddiogelwch, ac a lefodd allan, "Aha, fy meistr, pa fodd y gwnawn? Ac efe a ddywedodd, Nac ofna: canys amlach yw y rhai sydd gyda ni nâ'r rhai sydd gyda hwynt. Ac Eliseus a weddiodd, ac a ddywedodd, O Arglwydd, agor, attolwg, ei lygaid ef, fel y gwelo. A'r Arglwydd a agorodd lygaid y llanc, ac efe a edrychodd; ac wele, y mynydd yn llawn MEIRCH a cherbydau tanllyd o amgylch Eliseus."—2 Bren. vi, 15, 17. Dyscleiriai y meirch hyn â thanbeidrwydd tân. Meirch ysbrydol oeddynt, dan drefniad a rheolaeth byddin o ysbrydion yn marchogaeth mewn cerbydau. Rhaid fod yr ysbrydion ceffylau hyn yn yr un llun â chyrff naturiol ceffylau; pe amgen, ni chydnabyddid hwynt fel o'r un rywogaeth o anifeiliaid. Yr oeddynt yn ddirfawr liosog, fel yr oedd y "*mynydd yn llawn*" o honynt.

Ioan a ddywed, "Mi a welais y nef yn agored; ac wele, FARCH GWYN; a'r hwn oedd yn eistedd arno a elwid Ffyddlawn a Chywir, ac mewn cyfiawnder mae efe yn barnu ac yn rhyfela." "A'r lluoedd yn y nef a'i canlynasant ef ar FEIRCH GWYNION, wedi eu gwisgo â llian main, gwyn a glân."—Dad. xix, 11, 14. Fel hyn yr ydym yn dirnad fod Mab Duw ei hun, a holl fyddinoedd

y nef, yn achlysurol yn marchogaeth ar geffylau; ac o herwydd hyny, rhaid fod miloedd o filiynau o geffylau yn y nef; a chan nad oedd neb ceffylau perthynol i'r ddaear hon wedi derbyn adgyfodiad yr amser hwnw, y rhai hyn yn ddiammau oeddynt gyrff ysbrydol ceffylau, cyrff daearol pa rai oeddynt wedi dychwelyd i'r llwch.

Gan ein bod wedi profi fod ysbrydion dynion, a cheffylau, a phob math o fwystfilod, ymlusgiaid, ac adar, yn ffurf eu pebyll marwol, mae yn rhesymol i gasglu yn gyfatebol fod ysbrydoedd glaswellt, llysiau, a phreniau, yn ffurf cyrff naturiol y gwahanol lysiau, yn mha rai y buont unwaith yn cartrefu; a bod y llysiau hyny sydd yn awr yn fyw, yn cael eu cyfanneddu gan ysbrydion byw o'r un ffurf â hwy eu hunain.

Mae i bob ysbryd *faintioli* yn gystal â ffurf, yr hyn a ellir ei ddangos yn eglur o'r ysgrythyrau. Y geiriau a nodwyd yn barod i brofi fod i ysbrydion lun, a brofant hefyd fod iddynt faintioli. Ysbryd Samuel, fel ei gwelwyd gan Saul, ac ysbryd Mab Duw yn rhodio yn y tân, oeddynt y naill a'r llall o faintioli dyn. Ysbrydion ceffylau, bwystfilod, adar, ac ymlusgiaid, oeddynt nid yn unig o'r un llun â'u priodol gyrff naturiol, ond amlwg yw eu bod hefyd yr un maintioli â'r cyrff hyny yn eu cyflawn faintioli; pe amgen, byddai iddynt gael eu harddangos fel babanod yn lle dynion, fel ebolion yn lle ceffylau, &c.

Pebyll anifeiliaid a llysiau, y naill fel y llall, a barhant i dyfu neu gynnyddu mewn maint hyd nes cyrhaedd maintioli dechreuol eu priodol ysbrydoedd; wedi pa bryd y mae y tyfiant yn peidio. Pan y mae yr ysbryd yn cymmeryd meddiant gyntaf o'r had neu'r milrhith llysieuol neu anifeilaidd, y mae yn cyfyngu ei hun i faintioli o'r un mesur â'r had neu y babell i ba un y mae yn myned: profir hyn trwy y ffaith fod corff ysbrydol Mab Duw, a welwyd gan Nebuchodonosor, o'r un maintioli â dyn, ac etto yr un corff ysbrydol oedd wedi hyny yn ddigon cyfyngedig i fyned i mewn i, a chael ei gynnwys yn drwyadl o fewn pabell baban. Mewn cyffelyb fodd, pob ysbryd arall, pa un ai llysieuol neu anifeilaidd, sydd o gyflawn faintioli y babell rhagolygol, pan wedi cyrhaedd ei chyflawn dyfiant; ac o herwydd hyny, pan y mae yn gwneyd ei fynediad gyntaf i'r corff, rhaid iddo, fel corff ysbrydol Mab Duw, gael ei gyfyngu lawer o'i faintioli dechreuol. Rhaid, gan hyny, fod ysbrydion yn gyfan-

soddedig o sylwedd tra gwrthneidiol ei natur, h.y., meddant y gallu i adgymmeryd eu mesuriad blaenorol, megys y mae defnydd ychwanegol yn cael ei neillduo at ymhelaethiad eu pebyll. Yr egni ymchwyddol hwn a gynnyrcha yr ysbryd, yw yr hyn sydd yn graddol gynnyddu y babell, fel y mae defnyddiau anghenrheidiol yn cael eu diwallu.

Pan y mae darn o bren neu o anifel yn cael ei ddidoli oddiwrth y prif gorff, nid yw yr ysbryd sydd yn meddiannu y darn hwnw, yn cael ei ddidoli oddiwrth y rhanau ereill o'r ysbryd, eithr cyfyngu ei hun yn uniongyrchol i'r rhanau bywiol o'r corff, gan adael y darn i adfeilio. Cyfyngiad cyrff ysbrydol a brofir yn mhellach fyth, oddiwrth y ffaith ddarfod i leng o ysbrydion drwg yn ddiymwad bentyru eu hunain ynghyd mewn pabell un dyn. Yr ysbrydion drwg hyn, gan fod yn angylion syrthiedig, oeddynt yn ddiammau o lun a maintioli dynion; gan hyny, rhaid eu bod yn gyfyngedig rhyfeddol, cyn iddynt oll fyned i mewn i un corff dynol.

*Caerfyrddin.* *Cyf.* T. C. MARTILL.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 252.]

23. Y BODAU nefol y rhai a breswyliant yn y nef o ba un y daethom ni, wedi cael eu cyfodi o'r bedd, mewn byd blaenorol, ac wedi cael eu llenwi â holl gyflawnder y priodoliaethau tragywyddol hyn, a elwir Duwiau, o herwydd fod cyflawnder Duw yn preswylio yn mhob un o honynt. Y gwrrywod a'r benywod a fwynhant y cyflawnder hwn. Y llysiau a'r ffrwythau nefol a dyfant allan o ddaear y nef waredigol hon, a gyfansoddant fwyd y Duwiau. Mae y bwyd hwn yn gwahaniaethu oddiwrth y bwyd sydd yn deilliaw o lysiau byd syrthiedig; yr olaf a droir yn waed, pa un a gylchreda yn y gwythienau a'r rhedweliau, yr hwn a gynnyrcha gnawd ac esgyrn o natur farwol, a thueddiad gwastadol i adfeiliad: tra mae y cyntaf, neu y llysiau nefol, pan dreuliant yn y cylla, yn cael eu troi i hylif, pa un, yn ei natur, sydd ysbrydol, a pha un a gylchreda yn ngwythienau a rhedwelïau y gwrryw a'r fenyw nefol, a gadw eu pabellau rhag adfeiliad a marwolaeth. Llysiau daearol a ffurfiant waed, a gwaed a

ffurfia gnawd ac esgyrn; llysiau nefol, pan y treuliont, a ffurfiant hylif ysbrydol, yr hwn a rydd anfarwoldeb a bywyd tragywyddol i'r peirianaeth yn mha un y llifa.

24. Bodau syrthiedig a genedlant blant, cyrff pa rai a gyfansoddir o gnawd ac esgyrn, gan gael eu ffurfio allan o'r gwaed a gylchreda yn ngwythienau eu rhieni. Bodau nefol a genedlant blant cyfansoddedig o'r hylif pa un a gylchreda yn eu gwythienau, yr hwn sydd ysbrydol; gan hyny rhaid i'w plant fod yn ysbrydion, ac nid cnawd ac esgyrn. Hyn yw dechreuad ein peirianaeth ysbrydol yn y nef. Ysbrydion holl ddynolryw, a arfaethwyd i'r ddaear hon, a genedlwyd gan dad ac a anwyd o fam yn y nef, yn hir cyn ffurfiad y byd hwn. Yr oedd dechreuad i bersonau, a pheirianaeth tad a mam ein ysbrydoedd, ond cyflawnder gwirionedd (yr hwn yw Duw) a breswylia ynddynt, sydd heb ddechreuad, gan fod "o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb" (Salm xc, 2).

25. Yn y nef lle ganwyd ein hysbrydoedd, y mae llawer o Dduwiau, a chan bob un o'r rhai'n ei wraig neu ei wragedd ei hun, pa rai a roddwyd iddo cyn ei waredigaeth, tra yr oedd etto yn ei ystad farwol. Pob Duw, trwy ei wraig neu ei wragedd ei hun, a gyfyd i fyny deulu lliosog o feibion a merched; yn wir, ni fydd diwedd i gynnydd ei blant ei hun; canys pob tad a mam a fyddant mewn cyflwr i liosogi yn dragywydd. Cyn gynted ag y cenedla pob Duw lawer o filiynau o ysbrydoedd gwrrywaidd a benywaidd, ac y daw eu hetifeddiaeth nefol yn rhy fychan i gyfaddasu yn gysurus ei deulu mawr, efe, mewn cyssylltiad â'i feibion, a gyfansoddant fyd newydd, yn ol trefn gyffelyb i'r un yr hwn a gyfanneddir yn awr genym ni, lle yr enfyn efe ysbrydoedd gwrrywaidd a benywaidd i gyfansoddi tabernaclau o gnawd ac esgyrn. Pob Duw a ffurfia fyd er cyfaddasiad ei feibion a'i ferched ei hun, pa rai a anfonir allan yn eu hamserau a'u prydiau, neu eu tymmorau a'u cenedlaethau, i gael eu geni i'r unrhyw. Gofynir ar breswylwyr y naill fyd barchu, addoli, ac anrhydeddu eu tad personol eu hunain, yr hwn a breswyliai yn y nef, yr hon a breswylid yn flaenorol ganddynt hwy.

26. Pan gwaredir byd o'i sefyllfa syrthiedig, ac ei gwneir yn nef, yr holl greadigaeth anifeilaidd a gyfodir oddiwrth y meirw, ac a ddeuant yn nefol ac anfarwol. Bwyd yr anifeiliaid hyn a geir o'r llysiau, a dyfant ar ddaear nefol; o ganlyniad, ni throir ef yn waed, ond yn ysbryd, yr hwn a gylchreda yn ngwythienau

yr anifeiliaid hyn; gan hyny, eu hiliogaeth fyddant gyrff ysysbrydol, yn lle cnawd ac esgyrn. Fel hyn ysbrydion anifeiliaid, adar, a phob creadur byw, ydynt hiliogaeth yr anifeiliaid, adar, a'r creaduriaid pa rai a waredwyd neu a gyfodwyd oddiwrth y meirw, a pha rai a liosogant ysbrydion yn ol eu priodol rywiogaethau yn dragywydd.

27. Megys ag y mae y cyrff ysbrydol hyn yn eu holl amrywiaethau a'u rhywiogaethau, yn dyfod yn lliosog yn y nef, y naill Dduw a enfyn y cyfryw ag y'nt dan ei awdurdod i gymmeryd cyrff o gnawd ac esgyrn ar yr un byd i ba un yr enfyn efe ei feibion a'i ferched ei hun. Megys ag y mae pob Duw yn "Dduw ysbrydoedd pob cnawd," perthynol i'r byd pa un a ffurfia; ac megys ag y deil efe uchel lywodraeth drostynt yn y nef, pan yr enfyn efe hwynt i fyd tymmorol neu ddaearol, efe a gyflwyna y llywodraeth hon i ddwylaw ei feibion a'i ferched ei hun, pa rai a gyfanneddant yr unrhyw.

28. Pan mae'r byd yn waredigol, y greadigaeth lysieuol sydd waredigol, ac yn wneuthuredig o newydd, yn gystal â'r anifel; a phan wedi eu planu mewn daear nefol, mae pob llysieuyn yn derbyn ei faeth oddiyno; a'r hylif a geir felly a gylchreda yn nawdd-dyllau a chelloedd neu ddrulliau y babell lysieuog, ac a'i cadwa rhag adfeiliad a marwolaeth; yr unrhyw hylif, yn cylchredeg fel hyn, sydd yn ffurfio had ysbrydol, yr hwn wedi ei blanu, a dyf i lysieuyn ysbrydol; hwn a wahaniaethai oddiwrth y mam lysieuyn, yn hwnw nid oes ganddo babell. Hwn yw dechreuad llysieu ysbrydol yn y nef. Y llysiau ysbrydoi hyn a anfonir o'r nef i'r bydoedd daearol, pa le, fel anifeiliaid, cymmerant babellau naturioi, pa rai a ddeuant yn fwyd er cynnaliaeth pebyll naturiol y greadigaeth anifeilaidd. Fel hyn ysbrydion llysiau ac anifeiliaid ydynt hiliogaeth rhieni gwrrywaidd a benywaidd, pa rai a gyfodwyd oddiwrth y meirw, neu a waredwyd o gyflwr syrthiedig, gyda'r byd ar ba un y preswylient.

29. Nifer meibion a merched Duw, a anwyd yn y nef cyn ffurfiad y ddaear hon, nid yw yn wybodus genym ni. Mae yn rhaid eu bod yn ddirfawr liosog, fel y gellir dirnad wrth gymmeryd i ystyriaeth y niferi helaeth pa rai a ddaethant o'r nef yn barod, ac a boblogasant ein planed ni, yn ystod y chwe mil blynyddau a aethant heibio. Swm y poblogaeth yn awr ar y belleu hon, a gyfrifir, mewn rhifedi cyfartal neu grwn, yn fil miliwn. Os cym-

merwn y cyfrifiad hwn yn rhif cyfartal am bob canrif, am yspaid y saith mil blynyddau o'i fodoliaeth tymmorol, fe ddaw i fyny i drugain a deng mil o filiynau. Yn ystod oes foreuol y byd, yr oedd amryw ganrifoedd yn mha rai yr oedd swm y poblogrwydd yn llai nâ'r cyfartaledd hwn; ond yn ystod y mil blynyddau, neu oes ddiweddaf y byd, bydd y poblogrwydd, yn debygol, yn rhagori yn mhell ar y cyfartaledd hwn. Trugain a deg mil o filiynau, gan hyny, sydd agosrwydd garw i nifer y preswylwyr a fwriadodd yr Arglwydd i drigo yn y cnawd, ar y ddaear hon. Gwelir oddiwrth y cyfrifiad hwn, mai ynghylch trugain a deg mil o filiynau o feibion a merched a anwyd yn y nef, a gadwasant eu sefyllfa gyntaf, ac a gyfrifwyd yn deilwng i gael y byd newydd a wnaed iddynt, yn mha un y caniatawyd iddynt dderbyn cyrff o gnawd ac esgyrn, ac fel hyn fyned i'w hail sefyllfa.

30. Mae yn rhaid cofio, am drugain a deg mil o filiynau, pa mor fawr bynag yr ymddengys y nifer i ni, nad ydynt ond dwy ran o dair o deulu yr ysbrydoedd a genedlwyd cyn sylfaeniad y byd: y drydedd ran arall o'r teulu ni chadwasant eu dechreuad. Ychwaneger at y trugain a deg mil o filiynau, y drydedd ran a syrthiasant, sef pymtheg mil ar hugain o filiynau, a'r swm a gynnydda i gant a phum mil o filiynau, yr hyn oedd nifer cyfagos o feibion a merched Duw yn y nef cyn y gwrthryfel yr hwn a dorodd allan yn eu plith hwynt.

31. Os caniatawn taw un dynsoddiaeth oedd Tad yr holl deulu mawr hwn, a'u geni oll o'r un Fam, rhaid fuasai i'r cyfnod o amser a ddaethai i mewn rhwng genedigaeth yr ysbryd hynaf a'r ieuengaf fod yn aruthrol. Os y tybiwn, fel cyfartaledd, taw ond un flwyddyn a gyfryngai rhwng pob genedigaeth, yna gofynai dros fil o flynyddau i'r un Fam roddi genedigaeth i'r teulu dirfawr hyn. Y gyfraith a reoleiddia ffurfiad yr ysbryd-rith, a all, gyda golwg ar amser, fod yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth y cyfnod gofynol er ffurfiad y babell fabanaidd o gnawd. Pe byddai y cyfnod rhwng pob genedigaeth, yn fyrach ganwaith nâ'r hyn sydd ofynol yn y byd hwn, yr hyn sydd yn lled anhebygol, gofynai etto dros fil miliwn o flynyddau i gyfodi i fyny y fath hiliogaeth liosog. Ond megys y mae pethau nefol, ar lawer o olygiadau, yn gysgodol o'r daearol, mae yn hollol debygol fod yr yspaid gofynol er ffurfiad yr ysbryd mabanaidd, yr un hyd â'r hyn sydd ofynol yn y byd hwn er trefniant y babell fabanaidd.

32. Os bu i Dad yr ysbrydoedd hyn, yn flaenorol i'w waredigaeth, sicrhau iddo ei hun trwy gyfammod tragywyddol priodas, amryw wragedd, megys y gwnaeth y Prophwyd Dafydd yn ein byd ni, y cyfnod gofynol i boblogi byd fyddai yn fyrach, o fewn rhyw derfynau, mewn cyfartaledd i rif y gwragedd. Er enghraifft, os oedd can mil o filiynau o flynyddoedd yn ofynol i boblogi byd fel hwn, fel y gosodwyd uchod, mae yn amlwg mai gyda chan gwraig, y lleiheid yr yspaid hwn i un fil miliwn o flynyddau. Gan hyny, Tad, gyda'r hawsderau hyn, a allai gynnyddu ei deyrnasoedd â'i blant ei hun, mewn cyfartaliaeth can cymmaint uwchlaw y llall, yr hwn ni sicrhaodd iddo ei hun ond un wraig yn unig. Hyd yn hyn, ni lefarasom ond yn unig am y cyfartaledd o gan cymmaint fel yn gymhwysiadol at ei blant ei hun; ond yn awr, gadewch i ni ffurfio rhyw feddylrith gwan am gynnydd a lliosogiad bydoedd a boblogwyd gan ei wyrion, dros ba rai efe, wrth gwrs, a ddaliai awdurdod a llywodraeth fel Mawreddog Batriarch cenedlaethau diderfyn ei hiliogaeth. Os, allan o holl boblogrwydd y byd gwaredol cyntaf, mai dim ond un filiwn yn unig o feibion a waredwyd i gyflawnder o holl freintiau a gogoniant eu Tad, hwynthwy yn eu tro, yn awr a barotoid i liosogi a phoblogi bydoedd, yr un modd â'u Tad, wedi eu gwneyd yn debyg iddo ac yn un ag ef. Tra yr oedd eu Tad, gan hyny, yn poblogi yr ail fyd, y miliynau hyn o feibion gwaredigol a boblogent un miliwn o fydoedd. Pob un o'r bydoedd hyn a fyddant yn waredigol a gogoneddedig, ac a ddeuant yn fydoedd nefol neu nefoedd. Fel yna y byddai "nef y nefoedd" yn cael ei chyfanneddu gan y Mawreddog Batriarch, a'r rhai hyny o'r un urdd ag ef; yn ail, yna y byddai y ddau fyd gwaredigol yn cael eu cyfanneddu gan ei blant; ac, yn drydydd, yna y byddai yr un filiwn o nefoedd yn cael eu cyfanneddu gan ei wyrion. Ni chyfrifasom, hyd yn hyn, ond yn unig ail genedlaeth y bydoedd. Os y dygir y cyfrifiad yma etto yn mhellach yn yr unrhyw gyfartaledd, ceir fod y nifer yn y drydedd genedlaeth yn dyfod i fyny i un biliwn, tri miliwn, a thri o fydoedd. Y bedwaredd genedlaeth a boblogai dros driliwn, a'r bummed dros bedriliwn o fydoedd; tra y poblogai y ganfed genedlaeth fwy o fydoedd nag y gellid mynegi pe cyfodid un miliwn i'r pedwar-ugeinfed a phedwar ar bymtheg gallu (*ninety ninth power*). Unrhyw rifyddegwr ag sydd yn alluog i gyfrif rhesau o

595 o ffigyrau, a fydd yn alluog i roddi dynesiad agos iawn i gynnifer o fydoedd a boblogid gan ddisgynyddion un Tad mewn can mil o filiynau o flynyddoedd, yn ol cyfartaliaeth y cyfartalwch a roddwyd uchod. Yn awr, dyna y cyfnod yn mha un y gellid poblogi un byd yn unig gydag un wraig. Tra y lliosogai y Patriarch gyda'i gant o wragedd, fydoedd ar fydoedd, cyfundraethau ar gyfundraethau, mwy lliosog nâ llwch holl fodau gweledig y bydyssawd, a'u poblogi hwynt â'i ddisgynyddion i'r ganfed genedlaeth o fydoedd; y llall, yr hwn a sicrhaodd iddo ei hun ond yn unig un wraig, a wnai, yn yr un cyfnod ond braidd poblogi un byd.

*(I'w barhau.)*

[Yr Henuriad Dewi Elfed Jones sydd wedi cyfieithu yr hyn a ymddengys yn y rhifyn hwn, ac y mae yn addaw parhau yn mlaen nes ei orphen yn gwbl.—GOL.]

---

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 320.]

EITHR "fe ddylid gwneyd i bobl Utah ufyddhau y cyfreithiau, er mwyn gochelyd trychineb rhyfel cartrefol." Gobeithiwn na wna yr offeiriaid a'r golygyddion fyddino yr holl genedl yn eu herbyn hwynt. O leiaf, dangoswch iddynt ryw ychydig o drugaredd, trwy eu hysbysu yn gyntaf pa gyfreithiau o eiddo Duw neu ddyn a dorasant. Cyn dilëoch eu henwau odditan y nefoedd, rhoddwch iddynt un cynnyg er edifarhau a diwygio, trwy ddanfon dynion doeth, a barnwyr, a chyfreithwyr, i nodi allan iddynt pa gyfraith o eiddo yr Unol Daleithiau a dorasant, neu pa gyfraith o eiddo Tiriogaeth Utah a droseddasant. Os yw yn groes i gyfreithiau yr Unol Daleithiau, i ddinasyddion Utah feddu amledd o wragedd, diau eu bod hwy yn anwybodus o fodoldeb y cyfryw gyfreithiau. Ni wnaeth y cyfreithwyr na'r barnwyr a ddanfonwyd i'w mysg hwynt, erioed hòni ddarfod i'r Unol Daleithiau basio unrhyw gyfreithiau ar y pwnc hwnw. A chyda golwg ar gyfreithiau taleithiau unigol a thiriogaethau ereill, nid yw Utah yn wybodus ei bod hi yn gyfrifol iddynt hwy. Mae pob talaeth a thiriogaeth yn pasio ei chyfreithiau ei hun er rheoli ei chyssylltiadau teuluaidd a'i hachosion tufewnol, ac nid yw dan lywodraeth unrhyw un arall. Os yw Utah wedi troseddu

unrhyw gyfreithiau ag y mae hi yn gyfrifol iddynt, bydded i farnwyr y Prif-lys a benodwyd i'r diriogaeth hono gymmeryd sylw o'r unrhyw, a chospi ei dinasyddion trwy y gyfraith. Gwna hyn attal "trychineb rhyfel cartrefol," yr hwn y mae golygyddion a phenboethiaid crefyddol mor ofnog yn ei gylch. Gofynwn i ddinasyddion y Taleithiau Gogleddol, os gwna eu cyfreithiau taleithiol hwy eu hawdurdodi i reoli llywodraethiad y Taleithiau Deheuol o barthed caeth-wasanaeth? Nid oes gan gyfreithiau taleithiol y Gogledd ddim a wnelont â chyssylltiadau teuluaidd y Deau. Felly y mae gyda golwg ar Utah; nid yw hi yn gofyn ymyraeth unrhyw dalaeth o'r Undeb er ei hyfforddi pa fath lywodraeth a raid iddi fabwysiadu yn ei gosodiadau deddfwrol; os yw yn dewis mabwysiadu caeth wasanaeth o'i mewn, mae cyfraith corffoliad y Diriogaeth yn rhoddi y rhagorfraint iddi; os yw yn dewis ymarfer ag amledd o wragedd, mae yn meddu yr hawl fwyaf annherfynol i wneuthur felly, hyd nes ei gwaherddir gan gyfraith; pe dewisiai i basio cyfreithiau er awdurdodi ei dinasyddion i briodi cant neu saith cant o wragedd, ni fuasai yn droseddiad ar un gyfraith, nac ar Ffurf-lywodraeth yr Unol Daleithiau. Os yw penboethiaid a dall-bleidwyr crefyddol yn anfoddlawn i'r rhyddid a sicrheir gan Ffurf-lywodraeth fawr y wlad hon, danfonent i'r Congress am fath gwahanol o lywodraeth —un ag a gyssyllta awdurdod eglwysig a gwladol â'u gilydd—un ag a gorffola ynddi y chwil-lys santaidd er cospi yr holl hereticiaid a feiddiant feddwl neu weithredu drostynt eu hunain—un ag a gyhoedda reith-archiad gwaedlyd er llwyr ddyfetha Saint y y Dyddiau Diweddaf pa le bynag y ceir gafael arnynt: byddai y fath lywodraeth yn llawer mwy cyfaddasedig i'w dymuniadau: gwnai y fath lywodraeth eu galluogi hwy i reoli dros gydwybodau dynion trwy y cleddyf, y ffagoden, a'r tân; gwnai y fath lywodraeth eu galluogi hwy i hollol ddinystrio pob cyfeiliornadau a barnau hereticaidd, trwy resymau corfforol, yn lle meddyliol. O, mor ardderchog! mor rhesymol! mor alluog yn ei chymhwysiadau y byddai y fath drefn ar bethau! O flaen y fath resymeg, ni safai y "Mormoniaid" druain un siawns yn y byd; hwy a gaent eu gorchfygu, eu cigyddio, a'u rhostio yn fyw, fel tystiolaeth eglur o'u cyfeiliornadau erchyll!

Ond i ddychwelyd etto at ein pwnc. Os bodolodd amledd o wragedd unwaith yn yr Eglwys Gristionogol, paham nad yw yr

ymarferiad wedi ei gadw yn mlaen hyd y dydd hwn? Ai nid yw yn brawf na fodolodd erioed o dan yr Efengyl, oddiwrth y ffaith na throsglwyddwyd ef i waered i'n hamser ni? Atebwn, nad yw difodoldeb yr ymarferiad yn mysg cenedloedd Cristionogol yn bresennol, yn brawf yn y byd yn erbyn ei fodoldeb yn oes foreuol Cristionogaeth. Nid oes braidd un bras-lun o hen Gristionogaeth, ag sydd wedi ymdrechu trwy yr hir-nos o dywyllwch, a chyrhaedd ein dydd ni. Pa le yn awr mae yr apostolion ysbrydoledig, y cyfryw ag a nodweddent Gristionogaeth gyntefig? Pa le yn awr mae y lliaws prophwydi Cristionogol, y cyfryw ag a flodeuent unwaith yn yr Eglwys Gristionogol? Pa le yn awr mae y gweledigaethau, dadguddiadau, prophwydoliaethau, gweinidogaeth angylion, doniau iachâu, gwyrthiau, a gallu Duw, y rhai a hynodent yr Eglwys Gristionogol tra yr oedd ar y ddaear? Pa le mae hyd y nod yr Eglwys Gristionogol ei hun wedi bod am ganrifoedd ac oesau ag sydd wedi myned heibio? Nid yw wedi bod yn unlle ar y ddaear. Os yw holl nodweddiadau mawrion, gogoneddus, ac ardderchog Cristionogaeth wedi darfod—os yw yr Eglwys Gristionogol ei hun, heb fod wedi ei throsglwyddo i lawr i'n dydd ni, pa fodd y gallesid dysgwyl i amledd gwragedd, fel ei ymarferid yn yr eglwys hono, fodoli ar ol y dinystr cyffredinol? Os darfyddodd swyddi, doniau, a bendithion pwysicaf yr Efengyl yn y gwrthgiliad cyffredinol, ni fyddai yn ddim rhyfeddod pe darfyddai hefyd rai o arferion y Cristionogion boreuol.

Ar ol i Eglwys Crist ddarfod oddiar y ddaear, y gwrthgilwyr a adawyd a gadwasant yn mlaen etto ffurf dan yr enw o Eglwys Gristionogol; y rhai hyn a gyfnewidiasant arferion i ateb dychymmygion eu hunain; gan wahardd eu hoffeiriaid i briodi, a dwyn i mewn weddwdod, a gwyryf-dai, a miloedd o fympwyon ac arferion ffol ereill ag na feddyliodd yr Eglwys Gristionogol, tra yr oedd ar y ddaear, erioed am danynt. Oddiwrth y gwrthgilwyr di-awdurdodedig hyn, y tarddodd holl eglwysi y byd Cristionogol presennol; y rhai ydynt oll mor amddifad o awdurdod ddwyfol â'r Hindwaid eilun-addolgar. A thrwy eu traddodiadau, eu defodau, a'u dychymmygion ffol, y maent braidd wedi llwyr ddileu pob braslun ac arferiad o eiddo Cristionogaeth gyntefig oddiar y ddaear.

Dechreuodd y gwrthgiliad mawr hwn amlygu ei hun yn yr

Eglwys Gristionogol, tra yr oedd yr apostolion etto yn fyw. Mae Paul, wrth lefaru am ddyfodiad Crist, yn dywedyd, "Na thwylled neb chwi mewn un modd; oblegid ni ddaw y dydd hwnw hyd oni ddel ymadawiad yn gyntaf" (2 Thes. ii, 3). A thrachefn, dywed, "canys y mae dirgelwch yr anwiredd yn gweithio eisoes" (adn. 7). Yr oedd eglwysi gwrthgiliedig yr amseroedd diweddaf, i fod "yn angharedig," "a chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi," "gan roddi coel i ysbrydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau cythreuliaid; yn dywedyd celwydd mewn rhagrith, a'u cydwybod eu hunain wedi ei serio â haiarn poeth; *yn gwahardd priodi*;" "yn myned rhagddynt waethwaeth, gan dwyllo a chael eu twyllo;" "mewn cybydd-dod, trwy chwedlau gwneuthur, yn gwneyd marsiandiaeth o'r bobl," "gan droi eu clustiau oddiwrth y gwirionedd, a'u troi at chwedlau." Yr oedd "gwahardd priodi" yn un o ddrygau penaf y gwrthgiliad; yr oedd yn cael ei restru gydag "athrawiaethau cythreuliaid;" yr oedd yn un o'r athrawiaethau mwyaf effeithiol a allai y diafol ddyfeisio er diwreiddio sylfeini cymdeithas; er amddifadu pobl Dduw o'u hetifeddiaeth addawedig o blant; er croesi bwriadau yr Hollalluog i boblogi y ddaear â'i llawn fesur o drigolion; er tori ymaith y gogoniant addawedig i'r ffyddloniaid trwy barhau eu hiliogaeth; er darostwng dynolryw i'r un sefyllfa resynol â'r angylion syrthiedig eu hunain, y rhai ni feddant allu i gynnyddu eu llywodraethau trwy liosogiad eu rhywiogaethau.

(*I'w barhau.*)

---

## GALWAD I SEION.

TON—"The Gipsies."

CHWI etholedig bobl Dduw,—Dewch, &c., &c.,  
I Seion dêr i fyw;—  
Gadawn hen Fabel erch o'n hol,  
A'i thrais a'i gormes yn ei chôl.  
O blith ei swynion ffwrdd yr awn,—Dewch, &c., &c.,  
A gwenau Duw a gawn:—  
Gwnawn etifeddu'r nefol wlad,  
Yr hon ordeiniwyd gan ein Tad,  
Yn drigfa byth i'w siriol Saint;  
O'i mewn ni theimlir unrhyw haint;

Dim tristwch fydd, ond pawb yn llon,
O fewn i'r breswyl freiniol hon:
Ac yno bydd gwinllanoedd llawn—
Diwellir ni â'u melys rawn:
Mor hyfryd dros y dolydd teg
Fydd peraroglau'r blodau chweg.
O awn cyn delo'r llid dinystriol
I etifeddu'r wynfa nefol.

*Merthyr-Tydfil.* JOHN REYNOLDS, *Ieu.*

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

MEDDWDOD.—O bob pechod, cymmerwch ofal rhag meddwdod; nid yw pechodau ereill ond ffrwythau serchiadau terfysglyd, ond y mae hwn nid yn unig yn terfysgu, ond yn alltudio rheswm; pechodau ereill a anmharant yr enaid, ond y mae hwn yn difodi ei ddwy brif gynneddf, sef y deall a'r ewyllys; pechodau ereill a wnant eu ffordd eu hunain, ond hwn a wna y ffordd yn agored i bob pechod. Yr hwn sydd mewn cyflwr o feddwdod, sydd mewn sefyllfa addas i gyflawni pob pechod.

GWYLDER yn eich ymadroddion a rodda ddyscleirdeb i wirionedd, a bydd yn esgusawd dros eich camsyniadau.

GWEITHREDOEDD canmoladwy ydynt sylwedd y bywyd dynol; a dywediadau da ydynt ei addurniadau.

### RHINWEDDAU GWRAIG.

Gwraig lân, bwyllog, dlos, galonog,
Ufydd, serchog, hynaws, gu;
Ostyngedig, dda, fwyn, ddiddig,
Dduwiol-frydig, gall i mi;
Amynedgar, barod, hawddgar,
Loew, weithgar yn ei thŷ;
Ddoeth, ofalus, aiddgar, drefnus,
Lon, roesawus,—b'le ceir hi? J. R.

---

TALIADAU O MAI 13 HYD MAI 19.—Sir Fynwy, £2; Llanelli, £5; Sir Aberteifi, £3 10s; Sir Ddinbych, £1; Aberamman, 6s; Georgetown, £1 11s; Pendaren, 3½c.—Cyfanswm, £13 7s 3½c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 22.] MAI 28, 1853. [CYF. V.


## DIRGELEDIGAETHAU I BREGETHWYR Y SAINT!

"O! DYWEDWCH i ni ddirgeledigaethau y deyrnas!" meddir. "Ië, dowch i ni glywed am y peth hyn a'r peth arall yn Seion," yw y cwestiynau parhaus a lanwant ein clustiau er pan y dychwelasom i'n gwlad. Y mae awydd arnom foddio y cyfryw hyd y gallom hefyd. Wel, dechreuwn gyda y peth iawn yn gyntaf, a dywedwn wrthych chwi, anwyl gyd-swyddwyr yn nheyrnas Dduw, a chyd-gyfranogion o offeiriadaeth Iesu Grist, pregethwch ffydd, edifeirwch, a bedydd er maddeuant pechodau, i bawb yn mhob man, ac ar bob amser lle y mae angheu hyny. Hyn yw y peth cyntaf, pwysicaf ac ardderchocaf a'r dirgeledigaethau mwyaf blasus a rhyfeddol o bob peth i'r gwrandawwr gonest. Heb hyn nid oes dim arall a ddywedwn yn cael ei ddymunol effaith—dyma ein cenadwri a'n braint—hyn yw baich ein dyledswydd i Dduw a dynion. I hyn ein danfonwyd—wrth wneyd hyn y cawn fwyaf o Ysbryd Duw pan safom uwch ben dynion. Y mae y ffordd i gael maddeuant pechodau yn gymmaint dirgelwch yn ngolwg ein cyd-ddynion, fel y mae holl ddoethineb ddynol yr oes hon, a'r oesoedd mynedol er ys canrifoedd, wedi methu ei gael allan: canys, "rhyngodd bodd yn noethineb Duw, nad adnabu y byd trwy ddoethineb [ddynol] mo Dduw." Un peth yw bod heb adnabod trefn Duw i gymmodi dyn ag ef ei hun, a bod heb adnabod Duw; oblegid trwy ufydd-dod i'r drefn hono yn unig yr adnabyddir Duw. Gwelir, ynte, mai y dirgelwch cyntaf a'r pwysicaf i ni ddysgu i'r byd yw, mai trwy fedydd y mae cael

maddeuant a chymmod â Duw. Na feddyliwn fod digon o hyn wedi cael ei bregethu eisoes, bod hyn yn hen beth bellach; mae mor newydd yn awr i'r aughredadyn ag erioed. Y mae dirgelwch arall perthynol i'r wers hon, yr hyn pan ei thraethir yn ei hysbryd a'i ffydd berthynol, a'i gwna yn fwy nerthol nag a fyddai holl hyawdledd byd yn ngeneuau ei ddoethion, yr hyn yw y wybodaeth a feddwn o'i gwirionedd,—ei dwyfoldeb, yr hyn yw ei dwyfol rym. Gwyddom fod Duw yn maddau pechodau ein bedyddiedigion edifeiriol—dywedwn hyny, ynte, a dywedwn fwy yn hyny nag a ddichon dyn o hono ei hun byth ddywedyd. Wele ddirgelwch mawr ynte, ac amlygwn ef i'r byd—gorchymyna Duw i ni wneyd. Gwyddom i Dduw ein danfon i bregethu y drefn hon i gymmodi y byd ag ef, a'i fod yn barod i brofi hyny i'n hufyddion,—wele ddirgelwch anghymharol yn ein hoes, ynte! a phwy a all beidio tystio hyny a'i hiawn ystyrio! Pwy arall a allant dystio hyn uwch ben eu gwrandawwyr, heb rwydo eu hunain drwy fethu cyflawni yr addewidion a gyflawnir gan Dduw yn y drefn hon yn unig? Y dystiolaeth hon yn yr iawn ysbryd o honi, fel trosol dwyfol yn llaw ein Duw, a ddiwreiddia bob gau-athrawiaeth o bob meddwl gonest—a dora y ddadl yn meddwl y dau-ddyblyg—a derfyna yr amryson ynghylch pob dulliau o fedyddiadau drwy ein gwlad, er mor amrywiol y'nt. Gorfodai y y dystiolaeth hon Ioan Fedyddiwr gynt i gymhell, ïe, i *orchymyn* yn eofn—penderfynol a gwresog holl grefyddwyr defosiynol Galilea, anghofiasant eu dadleuon o barthed i'w taenellu, eu golchiadau a'u seremoniau yn genllif gyffrous, wrth y miloedd rhedasant i'r afon i'w gyfarfod, ni allasent beidio ufyddhau i'w orchymyn hwn, o herwydd y grym oedd ynddo. Felly yr Iesu hefyd, a'i apostolion ar ei ol, dyma eu cenadwri; dyma roddai fywyd i'r byd—hebddo ni ellid eu hachub, gwyddent hyn, tystient hyny yn ddidderbyn wyneb; a'r dirgelwch o'u llwyddiant mawr oedd, o herwydd eu bod yn dysgu ac yn gorchymyn bedyddio er maddeuant pechodau yn nerth yr *awdurdod* ddwyfol a'u danfonodd, sail eu ffydd i orchymyn hyny oedd yr hyn a feddwn ninnau, frodyr, sef y *dystiolaeth* a feddwn mai dyma drefn Duw, ac iddo ein danfon ninnau i'w dysgu. Wele genym ddirgelwch yn ein meddiant, ynte, na ŵyr y byd am dano. Dangoswn ef iddynt ar bob achlysur a chyfle; ïe, *chwiliwn* am achlysuron a chyfleusderau i'w amlygu i bawb. Pa ddirgeledigaethau gwell i'w ham-

lygu, nà bod " y trysor hwn mewn llestr pridd" unwaith etto yn ein gwlad—gan bwy y mae, a'r modd i'w etifeddu gan ereill. Onid am y trysor hwn y mae'r byd crefyddol yn chwilio? Ië, meddant hwy eu hunain, a thystia eu diwydrwydd a'u hymroadau gyda eu capeli costus, a phob peth arall o'u crefyddau, eu mawr awydd am ei gael; a diau pe credent mai yn ein meddiant ni y mae y perl anmhrisiadwy ag y chwiliant gymmaint am dano, y cofleidient ef wrth y lluoedd fel trysor y trysorau, a'r gwerthfawrocaf gan eu heneidiau. Wel, frodyr, a gadwch chwi y fath drysor yn ddirgelwch yn hwy? O na, pregethwn y dirgelwch hwn fel y dylem, a chredai miloedd etto ein tystiolaeth, ac yna llawenhaent am ddarfod i chwi bregethu "dirgelwch teyrnas Dduw" yn eu clustiau.

Nid ystyriai ein Hiachawdwr y dyn a ddywedai ei fod yn ei garu ef, ac yn ganlynwr iddo yn well nâ'r diffydd, os gwrthodai brofi ei gariad ato drwy ei ufydd-dod i'w fedydd ef. Unrhyw oediad anghyfreithlawn i fedydd a arddangosai wrthodiad o faddeuant. Felly yn awr yn ngolwg Duw yn gywir. Dylai yr ordinhad bwysig hon a'r dirgelwch cyssylltiedig â hi gael eu hamlygu beunydd o flaen llygaid byd, a'i swnio yn nerthol yn nghlustiau ein gwrandawwyr. Pan yr ymadawer oddiwrth yr athrawiaeth hon at ryw bethau a ystyrir yn ddirgeledigaethau mwy poblogaidd a deniadol i'r byd, ymedy ysbryd ein swydd oddiwrthym at y rhai a bregethant hyn. Dichon y lleill ymffrostio o'u pregethu trefnus a phoblogaidd, eithr gyda yr hwn a draetha genadwri ei Dduw y preswylia yr Ysbryd yn nerthol, a thrwyddo ymddysglaeria doethineb a gogoniant trefn yr iachawdwriaeth i'r ymchwiliwr am dani, yr hwn, yn ol fel ei derbynir ganddo, a chwala y niwl o'i feddwl fel tarth o flaen y boreu wawr, ac a lanwa ei enaid hiraethog â llawenydd y nef. Frodyr, gwyddom ni mai gwir hyn oll—ni ŵyr y byd mo hono; ein dyledswydd ni, ynte, yw amlygu y dirgelwch hwn iddynt yn mhob dull a modd ag y gallwn, ac yn mhob ymdrech gyfreithlawn, Duw, ein danfonwr, a'n cynnorthwya. Eithr os ni a esgeuluswn ein dyledswydd hon, er mwyn unrhyw ddirgeledigaethau ereill, y mae un a'n barna—a'i farn Ef fydd gywir.

Gweddiwn lawer am ddoethineb i ddeall y dull a'r modd mwyaf argyhoeddiadol, deniadol a chymhelliadol i wneyd hyn; eithr o bob cymhwysderau, esiamplau cydfynedol â'n tystiolaeth

yw yr effeithiolaf i lwyddo. Trwy ein sobrwydd, ein gonestrwydd, ein diweirdeb, a'n santeiddrwydd dieithriad, gorfodwn y byd, ïe, hyd y nod ein gelynion, i gyfaddef fod ein tystiolaeth yn gysson, yn rhesymol, ac ni allant wadu ei hysgrythyroldeb—ac i'w phrofi a'i *chael* yn wirionedd iddynt eu hunain. Gan ddynion sy'n tystio pethau mor bwysig ag sydd genym ni, dysgwylir am gyfiawnder cyferbyniol yn y fuchedd. Gan rai sy'n addaw bendithion mor santaidd, rhesymol, yr edrychir am eu heffieithiau rhinweddol yn ein santeiddio ni. Y neb o honom ni, ynte, a roddo i'r byd ffrwythau annheilwng i'w broffes, ac i'r addewidion a ddyry i ereill, a faga iddo ei hun drwy hyny fwy o gyfrifoldeb nag a allo ateb iddo, oddieithr iddo edifarhau; ac y mae ei gyfrifoldeb i'w gyd-frodyr yn yr offeiriadaeth, o herwydd ei gwarthruddo hi yn fwy nag y dymunwn i fod yn atebol drosto. Frodyr anwyl, cofiwn, craffwn beunydd—argraffer ar lechau ein calonau, fel nad anghofiom byth, mai "cyd-weithwyr Duw ydym ni"—mai temlau glân ddylai fod genym i Ysbryd Duw breswylio ynom yn wastadol—mai "os haloga neb deml Dduw, Duw a haloga hwnw." Gwae y neb o honom ni a ymddygo yn groes i'r alwedigaeth ddwyfol â'r hon ein galwyd. O! mor anweddus, gwarthus, ïe, *ysgeler* fyddai gweled yr un person yn tystio heddyw ei fod yn was i Dduw—yn bedyddio ei gyd-ddyn er maddeuant pechodau, ac y fory yn cyflawni pechodau ei hun! Heddyw uwch ben ei gyd-ddynion, a doethineb ddwyfol yn dylifo fel mêl o'i enau, ac wed'yn ei weled yn y tafarndŷ a gwirod meddwol yn dylifo i lawr trwy yr un genau hyd feddwdod! Heddyw yn pregethu cyfiawnder mor gadarn â phe yn sefyll ar ben Sinai, ac y fory yn gormesu ar dlawd anghenog efallai am ychydig *doeyns*! Gwelir hyn yn mhlith crefyddwyr ein byd weithiau er syndod i'r natur ddynol; eithr na ato Duw i un byth o'i weision ef, a ddanfonodd ar genadwri drosto i achub dyn, i roddi y fath esiamplau o flaen neb. Na weler neb o honom yn eistedd yn eisteddle y gwatwarwyr, y meddwon, puteinwyr, na dim o anfoesol fucheddau trigolion Babilon, yw fy ngweddi i yn barhaus.

Ond, digon bellach, efallai ar y dirgelwch yna, serch fod llawer iawn yn ychwaneg o ddirgeledigaethau yn ymguddio fel mewn blwch dwyfol, yn y drefn ogoneddus hon, sef ffydd, edifeirwch, a bedydd er maddeuant pechodau, nag sydd wedi ei ddangos etto i

i neb o honom, efallai; eithr cofier fod Duw yn aros i ddadguddio dirgelwch ei *llwyddiant* hi, pan yr ymegnïwn ni i'w hiawn bregethu, ei hiawn weinyddu; a phan y llwyddwn gyda ni ein hunain i'w hiawn FYW yn ei holl lwybrau.

*New Castle St., Merthyr.* D. JONES.

---

## CYFIAWNDER!

HIR-YMARHOUS fuom i gredu fod anghen ar blant Duw i gael eu dysgu drwy y wasg, beth yw *cyfiawnder*, ar ol y mawr bwys a'r hir bwys a osodir ar yr anghenrheidrwydd o gyfiawnder ymarferol yn mhob dosparth o'r eglwys, ac mewn cyssylltiad â phob dyledswydd arall; er hyny, achwynir fod rhai a broffesant Santyddiaeth wedi ymfudo heb dalu eu dyledion, a chyhuddir y cyfryw gan y byd o fod wedi ymgyfiawnhau o dan gochl eu crefydd, yn efelychiad o'r Israeliaid gynt yn dianc gyda meddiannau yr Aifftiaid! O ffolineb! syndod os Saint, ar ol gwisgo yr enw am noson, a gredodd y fath anghyfiawnder am gyfiawnder! O'r hyn leiaf golchwn yr ystaen yna oddiar ein crefydd, trwy ein *gweithredoedd* croes credaf, ac hyd hyny dywedaf, "Nid felly y dysgasom ni Grist" ychwaith. Ystyria y Saint fod yr hwn a elo o'r wlad hon i un arall, yn enwedig a elo oddiyma tua Seion—y wlad lle, o holl wledydd y byd, y mae gorseddle *amherodraeth*, cyfiawnder yn cartrefu yn nghalonau pur ei phreswylyddion, yn ystaenio ei gymmeriad yn warthus yn ngolwg ei frodyr yma; ac ystyrir fod ei anghyfiawnder yn mwyhau, ac nid gwisgo ymaith, gan bellder nac amser, ganddynt hwythau yn Seion. Gwell gan rai ychydig bunnoedd na'u henw da—eu crefydd, na'r oll a addewir ganddi; ac er mwyn ychydig arian, fel Judas gynt, gwarthruddant y grefydd anwyl hono, yr hon ni phetrusa eu brodyr ag sydd yn ei hiawn brisio, aberthu eu holl, ïe, eu bywydau, pe raid, fel ag y gwnaeth ei Hawdwr mawr hi o'u blaen er mwyn ei hanrhydeddu. Gwrthoda y Saint arddel perthynas â'r adyn a bara y fath fawrwarth ar eu henw anrhydeddus; a'r anedifeiriol a'i gwna, a gyfiawn alltudia ei hun o'u heglwys a'u hymddiried yn ddios. Ni lwydda y cyfryw yn y byd hwn, a gwn na ennilla y fath beth, nac un anghyfiawnder, iddynt enw da nac ymddiried neb o weision Duw yma, nac yn Seion. Beth! a

ddysgwylir iddynt hwy yno, gyfiawnion-wyr—tadau i'r Saint drwy y byd yn yr Arglwydd, gymmeradwyo yr hyn beth sy'n dwyn gwarth ac erlidigaeth ar y grefydd a ystyriasant hwy yn deilwng o'u hymroad am flynyddau lawer hyd lwybrau geirwon a gorthrymus byd, i'w dal i'r gwynt, fel y safon o gyfiawnder ymarferol? A foddhêir hwy â'r hyn sy'n dwyn erlidigaethau trymion ar, ac yn rhwymo yn dỳnach fyth gadwynau heiarnaidd Babilon am eu brodyr a'u chwiorydd â arosant ar ol? A gymhellant hwy yno eu brodyr i fyned dros y byd i bregethu i'w cydddynion, ac ar yr un pryd boddloni i'r hyn sy'n rhwystro dynion gonest i ufyddhau i'r grefydd hono? O na, fe siomir y truan a geisia ymguddio o dan y gochl rawn yna i dwyllo ei gyd-ddynion o'u hiawnderau, pan yr elo o flaen y frawdle hono. O barthed i'r hen chwedl a fynych draethir, sef fod mor gyfiawn i'r Saint gymmeryd arian, neu ddim arall o eiddo ereill, ag oedd i'r Israeliaid gymmeryd eiddo yr Aifftiaid, ni chredwn fod un o'r Saint mor ddwl a hyna. Ni fyddai mwy cyssondeb i wneyd hyny nag a fyddai i'r Saint adeiladu arch yn awr, o herwydd ddarfod i Dduw orchymyn i Noah adeiladu arch yn ei amser ef—iddynt adeiladu tŵr i fyned i'r nef, o herwydd i'r ynfydion hyny adeiladu tŵr Babel. O na, ni chredwn fod y Saint y fath bobl â hyna, hyd nes y clywn hwynt ar hyd mynyddoedd Cymru yn ysgrechain drwy gyrn hyrddod, o herwydd i Dduw orchymyn hyny gynt wrth furiau Jerico. Un o brif arwydd-eiriau y Saint yw, "Ufyddhau i bob gair a ddaw allan o enau Duw," yn eu hoes a'u hamser eu hun. Prif nodwedd yr oruchwyliaeth a roed i'r Saint yw, cael gorchymynion gan Dduw drwy ei Ysbryd yn gyfatebol i'w hamgylchiadau presennol hwy; ac nid fel y gweddill o'r byd, dibynu yn unig ar yr hen orchymynion a roddwyd i'r Israeliaid ac ereill o dan amgylchiadau yr oesoedd mynedol.

"Gwnewch i arall fel y dymunech i arall wneyd i chwi," yw dysgeidiaeth ein Hathraw cyfiawn ni; ac O, nad argreffid ar lechau calonau—na ddarllenid mewn llythyrenau euraidd yn mucheddiad pob Sant—a gwynfyd pe gorfyddai byd i addef trwy ein cyfiawnderau ymarweddol, mai "yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder sydd gyfiawn," trwy fod yr holl Saint hyd y bo ynddynt yn talu eu cyfiawn ddyledion i'r byd, ac i'w gilydd. Wrth siopwyr, marchnadwyr, crefftwyr, mawr a bach, yn eofn dywedwn, a beiddiwn wrth-brofiad, nad oes tueddiad o'r radd leiaf mewn un

egwyddor gynnwysedig yn ein crefydd i ddysgu, nac i esgusodi neb o'i hufyddion rhag talu eu cyfiawn ddyledion, eithr hollol groes i bob eithafion, fel y mae y neb a esgeulusa neu a wrthoda wneuthur cyfiawnder â'i gyd-ddyn, yn fforffetu ei hawl i'w rhagorfreintiau hi. Nid oes gorchymyn o'i mewn i ddyn gyfranu at ei hachosion hi, geiniog o arian a berthyna i arall yn gyfiawn. Nid trwy anonestrwydd yr adeilada Duw deyrnas ei Fab. Nid drwy yspeilio y naill, y cynnygia Efe grefydd i'r llall; nac ychwaith ar gost teimladau neb, na thrwy ormes ar neb, y dymuna eu cynnorthwy. Ewyllys rydd yw un o brif gynnysgaethiadau creadwrol ein Tad nefol i'w blant daearol—effeithiau rhinweddol ei gwirfoddol gymhelliadau hi a wobrwya Efe. Am yr oll o'i gweithredoedd anymddibynol hi, y rhaid i ni roi cyfrif i'r cyfranwr o honi. Fe'n cospir neu'n gwobrwyir am bob ysgogiad o'i heiddo hi a dim yn amgen. Hebddi peiriannau y'm ni; ni fydd barn a'n profa; gweler, ynte, fawr werth, ac iawn ddefnyddier ar bob cyfle yr anmhrisiadwy rôdd o *ewyllys rydd*!

Os *hon* a'n cymhella i gadw cyflog y cyflogedig oddiwrtho—arian ein cyfiawn ddyledwr oddiarno, neu unrhyw anghyfiawnder arall, cofier fod ei rhoddwr hi yn digio, fod brawdlys ei eglwys yn gofyn iawn am dano, fod dynoliaeth i'r dyoddefydd yn amddiffynydd, a'i enaid yn gofyn iawn am ei rwystro i'r wir eglwys. Pwy a dala?

Os yn ewyllysgar o'r ochr arall y cyfrauir er hwyluso amcanion Duw yn mlaen, er unrhyw ddaioni, pwy yn fwy nâ'r gwirfoddol gyfranwr a feda o ffrwyth ei lafur? Os haelionus yr hauir, yn gyferbyniol medir. "Eithr," medd rhywun, "ofnaf y cam-ddefnyddir fy nghyfraniadau i, onide byddwn fwy haelionus." Atebwn, os o ddymuniad da at achos Duw y cyfrani, nad pa ddefnydd a wneir o'th gyfraniadau, ni cholli di dy wobr am anghyfiawnder arall, os gan Dduw, yr hwn o gydwybod y cyfrani iddo, y dysgwyli y tâl; canys cyfiawn fydd iddo dy wobrwyo di, serch iddo adael i arall gam-ddefnyddio dy rodd.

Gan fod y Saint yn proffesu crefydd mor gyfiawn—yn gobeithio cael, cyn hir, fyned i Seion, i blith y pur o galon—cyfiawnion y byd, hyderwn y profant hyny drwy dalu eu dyledion, ac yn enwedig drwy wneuthur cyfiawnder â'u cydwybodau yn mhob peth, a thrwy esiamplau o gyfiawnder i'r byd, trwy symud y rhwystrau o'u ffordd, a'u cymhell i deyrnas Dduw, lle y cânt, ac y dysgant

*wneyd* cyfiawnder. Yna, pan ymadawent bydd dylanwad denjadol i'w dilyn, a'u cydnabod a ddywedant, "Pobl gyfiawn yw y Saint; cyfodwn ac awn ar eu hol, i'r lle y mae cyfiawnder yn preswylio."

*New Castle St., Merthyr.* D. JONES.

---

## DEGWM.

HAWDDACH amgyffred na desgrifio yr olygfa odidog ar y lliaws siriol-wenawg—o bob cŵr o diriogaethau y "fêl wenynen," a lanwasant eu hadenydd â phûr awelon y "mynyddoedd tragywyddol" —fel pe eu sugnid gan swyn-arogl pêr flodau paradwysaidd ardd. I'r un man, ar hafaidd foreu y 6fed o Ebrill, cyfarfyddant i gyd! Pwy yw y rhai'n? Saint y'nt, foneddig a gwreng; y dirfawr lu, oll yn siriol wênu. Clywch, bêr fiwsig, fel pe holl deulu y nef yn canu! adleisia dalpiawg gopäau y mynyddoedd tragywyddol glodydd i'w Duw! Yr offer cerdd, oll, am yr uchaf eu llais, clywch! drwy yr awyr lâs a adleisiant, "Hosanna Hosanna i Dduw, ac i'r Oen, yn oes oesoedd. Amen." Beth sy'n bod? Y dydd, yr hynod, y dedwydd ddydd a ddaeth, a'r boreu a wawriodd; meibion a merched Duw wrth y miloedd a ymgasglant ynghyd, a gosod y maent sylfaen TEML newydd i'r Iôn; ïe, teml newydd *etto* yn "Nyffrynoedd Ephraim." Sefydliad conglfeini hon—hynod gyfnod! a hir gofir gyda mawr obaith a chaniadau pêr, nid gan drigolion presenol Utah yn unig, eithr hefyd, mwyn genir henffych i'r deml hon gan holl wasgaredigion Seion drwy y byd—iddynt oll perthyna. Ail gofiant yw mewn cylch daearol am yr hynod gwrdd cyntefig, "pan gyd ganodd sêr y boreu," ac y llamasom *oll* gan lawenydd ar osodiad conglfeini daear fach i *ni* i ymgnawdoli a phreswylio ynddi. Ni'n hysbysîr faint fydd ei hyd na'i lled—praffder trawstiau—maint na rhif ei cholofnau anfertholion—nac uched i'r nef y treiddia uchel benau heirddion dyrau y deml hon. Gadewir i ni yn unig ddychymmygu ardderchawgrwydd ei gorseddau, gwychder ei haddurniadau, a'r fawreddig olygfa a fydd i'w holl garwyr hi. Eithr hyn a wyddom, ac yn y wybodaeth hon ymlawenhawn, sef, mai ei dybenion hi yw er dysgu holl ffyddlawn blant Seion yn holl gyfraith eu Duw—eu cynnysgaethu â gwybodaethau am ddirgelion teyrnas Dduw—selio

iddynt hwy trwy iawn weinyddiad ordinhadau santaidd, eu hiawnderau personol fel plant Duw; eu hiawnderau teuluaidd yn ol cynghor Duw, fel cangenau heirdd o'i deulu ef, i fod,i bob tragywyddoldeb mewn cyflawn fwynhad o holl fendithion y cylch hwnw,—o barthed i rieni a phlant, a'u haddasu i bythol fwynhad anllygredigaeth a gogoniant. Hefyd, gwyddom mai yn y deml hon y cylymir cylymau tragywyddol annattodadwy rhwng anwyliaid daearol—perthynasau, a'r byw a'r meirw, mewn llawer modd na ddichon tafod draethu, na chalon dyn anmhrofiadwy ddychymmygu. Gwyddom hyn oll, a mwy hefyd, meddwn, er cysur i'r hiraethog Saint. Clywsom fod maintioli ei chyntedd allanol yn cynnwys deg erw o dir gwastad yn nghanol y ddinas, wedi eu amgau â mur cadarn yn ugain troedfedd o uchder; a mesurais ystlys-bostau a chapau ei phedwar porth pedair-onglog, y rhai y'nt o feini naddedig heirdd, ac yn pwyso tua chwe chant o dunelli eu hunain; dyna ryw fath o allwedd i farnu maintioli y cyntedd nesaf i mewn, hyd oni cheir gwell. Os oes rhywun yn dymuno gwybod

PA DDEFNYDD A WNEIR O ARIAN Y DEGWM?

Dyma yr atebiad yn barod iddynt; o honynt adeiladir hon i ddechreu, ac wedi hyny defnyddir y gweddill i adeiladu teml, ïe, *temlau* ereill wed'yn; canys erbyn hyny bydd eu llwyr anghen gan y lliaws a ddaw o blith holl genedloedd y byd "i fynydd tŷ yr Arglwydd," i ddysgu ei gyfraith, fel y rhodiont yn ei lwybrau—fel y cynnysgaether hwy a'u heiddo, a'u meirw hefyd, â phob cymhwysderau anhebgorol er eu haddasu a'u galluogi i sefyll a mwynhau o gyflawnder iachawdwriaeth "meibion Duw," pan y daw eu teilwng Frenin i'w plith; yr hyn beth a gymmer le cyn yr â yr oes na'r genedlaeth hon heibio, onide fe siomir miloedd heblaw ni. "Pa le y mae addewid am ei ddyfodiad," ebe plant y byd o hyd; eithr "byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn," ebe efe ei hun drwy ei Ysbryd wrth ei Saint. Ymbarotown, ynte, drwy gyflawni ein gwaith yn y byd, ac yna ymfudo i Seion, ac adeiladu iddo Deml; "canys "yr Arglwydd, yr hwn yr ydych chwi [Saint y Dyddiau Diweddaf yn unig] yn ei ddysgwyl ar frys, a ddaw i'w deml." Ni ellir gwneyd y darpariadau hyn heb lawer o arian; ni ddysgwylia y Saint mai y rhai sydd yno yn unig a ddylai adeiladu y deml,

heb eu cynnorthwy hwy. Pa fodd y dysgwylia neb fwynhau y deml wedi myned yno, a wrthodant gynnorthwyo i'w hadeiladu hyd y gallant? Hyn yw y defnydd goreu a ddichon neb wneyd o'i arian; canys Seion yw ein cartrefle arosol—dinas ein cyfarfod; yno sugnir bryd a serch y gonest galon; yno anfoner ein rhoddion yn mlaen llaw i ddarparu teml i ni erbyn yr elom yno i'w mwynhau. Na ofned neb gyfranu ati, rhag ofn y cam-ddefnyddir eu degwm; caiff pob un gyfrif cywir o'r hyn a gyfrana yma; trosglwyddir hyny wrth eu henwau yno er eu cymmeradwyaeth hwy a'u hachau bythol: canys "hâd y cyfryw nid anghofir, a'u plant ni adewir i gardota eu bara." Ni cham-ddefnyddir y degwm yno ychwaith, canys gofalir dros yr oll gan ddynion cyfiawn a medrus, dyben ac awydd mwyaf y rhai yw adeiladu *Seion*, ac nid adeiladu eu *hunain* ar gost ereill. Nid yw y Llywydd Young na'i Gynghorwyr, na neb o'r Llywyddion yn Seion, yn cael hyd y nod eu hymborth, na dim o'r degwm, nac yn ei geisio ar a glywais i; eithr o'r ochr arall, gwn eu bod yn rhoi eu holl amser a'u hymdrechion at wasanaeth y cyhoedd heb dal gan neb. Pa fodd y cynnaliant eu teuluoedd? meddir: atebaf eu bod yn cario yn mlaen alwedigaethau tymmorol megys ereill, gyda eu meddiannau eu hunain—yn cyflogi ereill i wneyd eu goruchwylion hwy. Gwn eu bod hwy, hyd y nod Brigham Young, yn talu degwm o'r oll a gynnyrcha ei dir a'i anifeiliaid mor barod a chywir â neb dyn arall yn y dyffryn. Nid er mwyn cynnal teuluoedd neb mewn gwychder na cherbydau y gwarir y y degwm yn Seion, eithr at yr hyn sydd o gymmaint defnydd i bob cyfranwr ag i neb arall.

Gofynir i ni weithiau pa swm a ofynir yn ddegwm ar y Saint yn Nghymru? Mewn gair, atebed eu cydwybod hyny i Dduw, ac yna boddlonir pawb. Y gyfraith yw y degfed ran o'r oll a fedda dyn pan y delo i'r eglwys, a'r degfed o'r *cynnydd blynyddol* wedi hyny. *Ewyllys rydd* yw llywydd y dyn yn hyn fel yn mhob peth arall: gan mai Duw yw ei *wobrwywr*, efe fydd ei *farnwr*. Diau fod llawer o Saint yn y wlad hon yn gweithio yn ddiwyd er cynnal eu hunain a'u teuluoedd ag ymborth a dillad, teimlid yn fwy o elusen i gyfranu i'r cyfryw, nâ chymmeryd oddi wrthynt. Etto, y mae llawer a allant gyfranu heb niweidio eu hamgylchiadau; a'r rhoddwr haelionus hefyd at waith Duw, a fendithir gan Dduw yn ol ei haelioni. Cydwybod pob dyn, ynte,

yw ei *Ddegymwr*, ac nid offeiriad y plwyf, y *bailiff*, na'r swyddog eglwysig; a'r hwn na allo dalu degfed, yna nid oes degfed ganddo; neu yr hwn nid yw ond braidd cynnal ei hun a'i deulu, ni ddysgwylir ganddo. Ond fe ddysgwylia Duw, a'r holl Saint, i'r neb a allo wneyd, yr oll a allo er adeiladu y deml uchod, ac yna ei blant a'i eppil a fendithiant ei goffadwriaeth ar ei ol hyd byth bythoedd.

*New Castle St., Merthyr.* D. JONES.

---

## PA FODD I ENNILL DEDWYDDWCH.

MAE pob dyn sydd yn feddiannol ar synwyr cyffredin, yn amcanu at wneyd neu ennill dedwyddwch iddo ei hun, er nad yw pawb yn dewis yr un gwrthrychau er sugno dedwyddwch oddi wrthynt. Pe meddyliem am bob dosparth a sefyllfa o ddynion, yn grefyddol ac anghrefyddol, maent oll yn eu gwahanol ffyrdd yn amcanu at ennill dedwyddwch iddynt eu hunain. A yw yn rhesymol i feddwl fod meddwon, lladron, twyllwyr, &c., &c., yn bwriadu ennill dedwyddwch iddynt eu hunain, pan yn cyflawni eu drwg weithredoedd? Diammau eu bod; meddyliwn am yr oferddyn, er enghreifft, pan fyddo gofid yn ei orddiwes, aiff at ei gyfaill, gan ddweyd ei helynt wrtho, ac yna ânt i'r dafarn, gan ddweyd, "Cawn getyn dedwydd yno;" ond nid ydynt yn ystyried y byddant yn dyblu eu gofid yn ol llaw wrth wneuthur hyny. Felly hefyd nid yw y lleidr yn amcanu ennill iddo ei hun gosp mewn carchar, pan yn cipio ei ysglyfaeth, ond ei fwriad yw ennill iddo ei hun ryw gysur neu ddedwyddwch oddiwrtho; er y dichon iddo gael ei siomi, etto nid yw hyny yn difodi yr amcan dechreuol. Hawdd ydyw profi fod y dosparthiadau uchod a'u cyffelyb yn amcanu at ennill dedwyddwch iddynt eu hunain; ond meddyliwn fod hyny yn ddigon eglur i'r darllenydd heb ddweyd ychwaneg, gan nad hyny yw ein prif ddyben wrth ysgrifenu yr ysgrif hon.

Yr ydym fel bodau rhesymol wedi cael ein gosod mewn sefyllfa ag sydd yn rhaid, cyn y gallwn gael dedwyddwch naturiol, ei ennill i ni ein hunain; ac er ei ennill, rhaid yw gwrteithio y synwyrau ag y'm wedi gael gan Dduw i'r dyben hyny. Dylem ystyried, fel bodau rhesymol, natur a chanlyniadau ein holl

weithredoedd, mewnol ac allanol, rhag wedi llafurio y bydd y canlyniadau yn gyfryw, ag a ddygant ofid yn lle dedwyddwch. Ni a ddylem ystyried fod ein holl ysgogiadau a'n hymddygiadau yn gyfryw ag sydd yn gadael eu hargraff ar eu hol, a bydd y cyfryw argraffiadau yn sicr o fod yn dwyn gofid neu ddedwyddwch i'n mynwesau pan wnawn edrych ac adfyfyrio arnynt, oblegid hwy a fyddant yn ddigon eglur. Megys y cloddia'r ffrwd ei ffos yn yn ddaear, y cerfia y diferyn dwfr ei ôl yn y pridd dan y bargod, ac y minia y tònau ddannedd y creigiau ar làn y môr; felly y mae ein gweithredoedd a'n hymddygiadau ninnau yn gadael eu hargraffiadau dyfnion ac annilëol ar eu hol; ac os byddant wedi eu cyflawni genym yn unol â'r egwyddorion o gyfiawnder a gwirionedd dwyfol, bydd y canlyniadau yn rhinweddol, ac achosant i'r gweithredydd lawenydd a dedwyddwch; ond os cyflawnir y gweithredoedd oddiar egwyddorion gwahanol, bydd y canlyniadau, o ganlyniad, yn ofidus a thruenus iawn; oblegid megys ag y mae cyssylltiad rhwng gwreiddyn a'r ffrwyth, felly mae undeb annattodadwy rhwng gweithredoedd a'r canlyniadau. Yr hwn a fyfyria ar y pethau hyn, a wel mai ei ddyledswydd arbenig yw, dweyd a gwneuthur yn unol âg egwyddorion cywir y nef, fel ag y bydd i'r canlyniadau ddyfod allan yn flagurog o ffrwythau toreithiog a arddangosant rinwedd, purdeb, a gonestrwydd, pa rai a wnant greu o'i fewn gysur a dedwyddwch.

Mae y fath gyssylltiad rhwng yr enaid a'r corff, fel nas gall y naill deimlo yn ddedwydd os na fydd y llall mewn cyflwr o ddiogelwch. Ac felly cyn y gall dyn fwynhau graddau helaeth o ddedwyddwch pur, yr hwn a gyflwynir trwy Ysbryd Duw, rhaid iddo fod mewn sefyllfa o ddiogelwch, enaid a chorff. Mae llawer dyn yn llafurus iawn yn ymdrechu ennill iddo ei hun a'i deulu gysuron tymmorol, pa rai sydd yn anghenrheidiol, ac er, wedi eu cael, pan wna gofio fod yn ei feddiant enaid—bôd anfarwol, sydd heb fod mewn sefyllfa o ddiogelwch, mae y dyn, er yn gyfoethog o bosibl, yn teimlo ei hun fel pe mewn byd o annedwyddwch. Er hyny, mae da a defaid, tai a thiroedd, yr holl drysorau sydd ar, ac yn y ddaear, yn roddion oddiwrth Dduw er cysur i ddyn; ac etto, yn gyffredin, y dynion a feddant y cyflawnder mwyaf o honynt, yw y rhai mwyaf annedwydd. Pa fodd mae hyny yn bod? Os mai rhoddion o eiddo Duw i ddyn ydynt, er ei wneuthur yn ddedwydd, pa beth yw yr achos fod y rhai a'u

meddant yn fwy annedwydd nag ereill? Awdwr trefn yw Duw, ac felly ni roddodd Efe y rhoddion hyn i ddynion, heb roddi trefn i'w defnyddio a'u ceisio; gan hyny, os ceisir hwynt yn anghyfreithlawn, nid oes dedwyddwch i'w ddysgwyl gyda eu mwynhad. Pa drefn a roddodd Duw i'w ceisio, fel ag i ateb y dyben daionus o'u rhoddiad? Y mae Duw yn dysgwyl i ddyn wneyd dewisiad o'r bendithion godidocaf yn gyntaf, ac nid yn ail beth. Danfonodd Duw ei Fab anwyl i'r byd i sefydlu ei deyrnas ardderchog, yr hwn, pan ddaeth, a ddysgodd ddynion, gan ddywedyd, "Eithr yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder Ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg" Dyna y drefn, sef "ceisio yn *gyntaf* deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef," ac wedi hyny "yr holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg," sef y rhoddion neu'r bendithion a soniasom am danynt yn flaenorol. Eglur yw, mai y prif achos o fod y cyfoethogion, yn gyffredin, yn fwy annedwydd yw, o herwydd eu bod yn ceisio cyfoeth yn gyntaf, ac yn ei wneuthur yn beth blaenaf yn eu meddyliau, gan adael cynghor yr Iachawdwr yn ddisylw, sef "ceisio yn gyntaf deyrnas Dduw,"&c. Gan hyny, ddarllenydd, os wyt yn ewyllysio bod yn ddedwydd, gwna geisio yn gyntaf deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, yna bydd yr anfarwol enaid sydd yn dy feddiant mewn cyflwr diogel; bydd heddwch rhwng dy Dduw a thi, a bydd dy gydwybod yn dawel wrth feddwl am y farn; ac felly wrth barhau i rodio wrth y rheol hon, mae addewid y digelwyddog Un yn dweyd, "yr *holl* bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg;" canys yr hwn a adawa dai a thiroedd, &c., o'r neilldu, gan fyned a chanlyn Crist, neu geisio yn gyntaf deyrnas Dduw, yr holl bethau hyn a gaiff yn ychwaneg, neu efe a dderbyn y can cymmaint ar a adawodd. Ac felly yn ol yr addewid hon, dyna reol i ddyn fod yn ddedwydd—cael teyrnas Dduw yn ddiddosfan, fel na fydd achos iddo ofni rhag y llid a fydd—a chael yr "*holl* bethau hyn yn ychwaneg," er cysur a dedwyddwch iddo. Ac felly, gyfaill, neu frawd anwyl, cofiwn fod pwys mawr yn addewidion a deddfau Duw. Yr hwn sydd yn gadael teyrnas Dduw yn ail beth, sydd yn diystyru cynghor Duw trwy ei Fab, ac yn amddifadu ei hun o'r dedwyddwch nefol a thragywyddol a fwynheir yn awr gan deulu Duw ar Seion dir. Y Saint sydd yn nyffrynoedd y mynyddoedd, yw y bobl mwyaf dedwydd dan yr holl nefoedd. Paham? Gadawsant dai a thiroedd ffrwythlawn,

dinasoedd a phentrefi heirdd; do, gadawsant bob peth er ceisio teyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef." Er iddynt ymadael â'u holl feddiannau wrth geisio y deyrnas hon, etto sugnant eu dedwyddwch o'r nef, trwy ffydd yn enw Mab Duw; deuai atynt genadon o wlad y gwawl, sef yr ysbrydion gwasanaethgar, oedd yn cael eu danfon i weini i'r rhai a adawsant bob peth, o herwydd ceisio yn *gyntaf* deyrnas Dduw. Cyflawnasant y cynghor uchod; ond nid hir y buont cyn derbyn yr addewid gyssylltiedig, sef "yr holl bethau hyn yn ychwaneg." Yn awr, meddant ddedwyddwch pur o'r nef, yr hwn nad oes diwedd iddo, a gwyn fyd y sawl a'i meddo.

Nid gwaedoliaeth uchel sydd yn addasu dyn i dderbyn o'r rhoddion dedwyddol hyn, ond yr onest ei galon, yr hwn sydd yn rhodio wrth reol berffaith y Duw da, ac nid wrth gynlluniau gwael plant y byd hwn. Felly na fydded i neb o'r Saint ddigaloni, gan feddwl eu hunain yn rhy wael i gyrhaedd yr ystâd ddedwyddol ag sydd yn aros ffyddlawn frodyr Iesu. Cofiwn, er ein bod yn dlawd, fod Duw yn galw arnom, gan addaw i ni etifeddiaeth deg, mewn gwlad sydd well nâ hon. Na feddylied neb fod eu gonest-oruchwylion yn rhy wael i Dduw edrych arnynt; oblegid daeth yr ysbryd ar Eliseus, er mai aredig yr oedd; Dafydd oedd yn bugeilio, ond gwnaed ef yn frenin; annerchwyd y bugeiliaid gan angylion, er mai gyda eu gorchwyl yr oeddynt, a bachgenyn o galon bur, a dymuniad am wirionedd, oedd Joseph Smith, heb lawer o dda y byd hwn; ond cafodd ei neillduo gan Dduw yn Brophwyd mawr yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd. Efe a geisiodd yn gyntaf ac yn flaenaf o bob peth, deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef.

Y mae llawer yn addaw ennill dedwyddwch iddynt ei hunain ryw amser etto; ond mae Duw yn galw yn awr. Addawa llawer o'r Saint fod yn hynod o ffyddlawn wedi myned i Seion, ond yn awr yw llais Duw fyth. Y mae dedwyddwch i'w fwynhau wrth ffyddlawn gadw gorchymynion Duw. Mae llawer a'u holl fryd ar fod yn hyddysg mewn ieithoedd, ffigyrau, celfyddydau, gwyddiantau; gwybodaethau seryddol, moryddol, daearyddol, ynghyd ag ereill a allem eu nodi, a boddlonant ar y dedwyddwch a ennillant oddiwrth y rhai hyny. Y mae gwybod y pethau yna yn dda, ond ni ddylid eu gadael yn flaenaf o bob peth, o herwydd rhaid "ceisio yn gyntaf deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef," cyn y

gall dyn fod yn ddedwydd mewn amgylchiadau ag a ddaw i'w gyfarfod. Pa gysur fydd deall y *rule of three*, *fractions*, *decimals*, *equation*, a *geometry*, pan "fydd yr Arglwydd yn dyfod gyda myrddiwn o'i saint, i wneuthur barn yn erbyn pawb nad adwaenant Dduw, ac nad ydynt wedi ufyddhau i efengyl ei Fab ef Iesu Grist," neu wedi "ceisio yn gyntaf deyrnas Dduw?" Pa beth yw bod yn hyddysg yn ngwaith Virgil, Cicero, Demosthenus, Homer, a Herodotus, pan yn sefyll o flaen gorseddfainc y Duw mawr, os na fyddwn wedi ein geni o ddwfr ac o'r Ysbryd, fel y gallom lefain, Abba Dad, a bod yn alluog i ddweyd pan ddaw yr Arglwydd ar gymylau'r nef, "yn wir tyred Arglwydd Iesu?" Credwyf fod y gwybodaethau uchod yn dda, ac yn angenrheidiol, ond nid ydynt yn ddigonol i ddwyn dyn i heddwch â Duw. Nid oes dim drwg pe gallem ateb am hydred a lledred gwlad neu ynys bell; a phe hoffem edrych ar Iau a Sadwrn, a'u modrwyau a'u lleuadau, ni fyddai ddrwg, ond peidio eu gadael i fod yn flaenaf ar ein meddyliau; oblegid ein dyledswydd flaenaf yw, "ymdrechu o blaid y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint;" "ceisio yn gyntaf deyrnas Dduw," a deall pa beth yw, a pha fodd mae bod yn dduwiol,—ceisio yr Ysbryd, fel y gallom ddeall pethau Duw, oblegid "mawr yw dirgelwch duwioldeb," mwy nas gall doethineb ddynol gael allan, heb Ysbryd Duw, yr hwn sydd yn dwyn i'r cof y pethau a aethant heibio, ac yn mynegu pethau sydd i ddyfod." Yna, wedi ymdrechu o blaid y ffydd, a cheisio yn gyntaf deyrnas Dduw, yr holl bethau hyn a gawn yn ychwaneg, er ein dedwyddwch, nes y deuwn i wybodaeth Mab Duw. Ac yna, beth fydd *problems* Euclid a *principia* Newton, yn ymyl dysg yr hwn fydd wedi dyfod i WYBODAETH o FAB DUW?

*Tre-Sior, Merthyr.* THOMAS HARRIES.

---

## EMYN.

MAE 'r deyrnas ar ei chynnydd,
Er maint yw llid y ddraig;
Ac er cyfrwysdra'r bwystfil
Sy'n wrio'r butain-wraig,
Cyflawnir llef yr angel,
Pan syrthio Babel fawr,
A'r bwystfil ar ei orsedd
A'i fawredd dros y llawr.

Ceir gweled plant y nefoedd
Mewn ystafelloedd clyd;
Pryd hyn bydd meibion belial
O dan ryw dreial drud:
Pan gaiff y prophwyd hwnw
Ei fwrw i dân yn fyw,
Addefir fod y Seintiau
Yn meddu doniau Duw.

ROBERT EVANS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

EFFAITH DWEYD YN DDRWG AM UN.—Os dywedir am lawer o bethau drwg mewn dyn, tueddir ereill i sylwi yn fanylach ar ei ymddygiadau; ac os na cheir ynddo heblaw gwendidau cyffredin y natur ddynol, y canlyniad a fydd credu ei fod yn meddu ar ryw ragoriaethau sydd debyg o guddio a chymylu doniau ei athrodwyr.

ELUSEN.—Amryw a gyfranant i'r tlawd a'u gofyno; ond y mae gwir elusen yn chwilio am yr helbulus; oblegid, mynych y ceir anghenus yn rhy ofnus i ofyn, yn cuddio ei dylodi, ac yn goddef mewn distawrwydd.

BACHGEN CYFRWYS.—Aeth bachgen yn ddiweddar at arddwr, a gofynai "Ai nid garddwr oedd eich tad?" Atebai yntau "Ië." "Cafodd ei *dransportio* ond do"—"Na ddo," ebe'r garddwr, "nid oedd onestach fy nhad yn y wlad." "Do, do, fe gafodd," meddai'r bachgen, "clywais fy mrawd yn darllen y treial, iddo yspeilio gwr boneddig; cafodd ei dransportio, ac ni fu byth lewyrch ar neb o'r teulu."—Ac yna, rhedwyd ar ol y bachgen, ac at y fam yr aethant. Gwedi i'r fam alw y bachgen i gyfrif, dywedai, "Onid oedd fy mrawd yn darllen boreu heddyw am Adda, ac yn dweyd mai hwnw oedd ein tad ni gyd."

---

TALIADAU O MAI 20 HYD MAI 26.—Rymni, £1 6s 3½c; Merthyr, £1 6s; Pontytypridd, 16s; Aberamman, 3s.—Cyfanswm, £3 11s 3½c.

☞ Galwn sylw ein darllenwyr at draethodau rhagorol Capt. D. Jones yn y Rhifyn hwn; byddant yn fywyd a nerth i bob gonest galon a'u darlleno, neu a glywo eu darllen.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 23.] MEHEFIN 4, 1853. [CYF. V.

## RHIEINYDDIAETH

### YN HANFODOL, ANHEBGOROL, ANWRTHWYNEBOL, A GREDDFOL BRIODOLEDD MEWN DYNOLIAETH,

*A brofir gan ei heffeithiau buddugol, ei chyfreithiau anianyddol, ei deddfau dwyfol, a'i diderfyn barhad.*

UN o brif ddybenion cread ein rhywiogaethau yn y byd hwn, yw er cenedlu hiliogaeth o fodau fel ein hunain; tynghed dragywyddol pa rai, wedi ffyddlawn gadw cyfreithiau eu cylch daearol, fyddai, trwy rinweddol effeithiau adgyfodiad eu "Brawd hynaf," gael anfarwol, anllygredig gyrff fel yr eiddo yntau, a bod yn fythol "debyg iddo." I'r mawr-waith hwn, crewyd yn ein rhieni cyntefig—cynnrychiolwyr ein rhywiogaethau, *gynneddfau* pwrpasol, anhebgorol, pa rai ni allasent fod i un dyben arall amgen nag i eppilio. Nid dirywiad yn y natur ddynol yr ystyriwn y cymhwysderau hyn, eithr creadigol ac anhebgorol angenrheidiol er eppilio ein rhywogaeth ar y ddaear, a phreswylio y "trigfanau tragywyddol" â bodau nefolaidd yn yr "un ffurf a delw" â Mab Duw. Hebddo buan peidiai dynoliaeth, ïe, pob bywyd crëedig a beidiai a bodoli, a dyrysid amcanion creadwrol ein Duw.

Mae rhieinyddiaeth yn anhebgorol, meddwn, i liosogi ein rhyw, er cyfartalu difrodaeth ryfelawg, a phob bywyd-ddinystrydd arall, ïe, angeu ei hun, a'i holl offerynau marwoldeb; ac y mae yn cyflawni ei amcanion mor gyflym yn hyn nes, er

gwaethaf holl ddyfeisiadau bywyd-ddinystriol ei wrthwynebydd "cryf ac arfog," tra chyflyma ei ordeiniadau Ef, a lliosoga yr eppil er gwaethaf rhwysg ei wrthwynebol ddyfeisiadau—heria ei ymffrostrwydd i ddiddymu ei rywogaeth. Y rhywogaeth a *amlha*, y ddaear a *boblogir*, er ei waethaf!

Y fath ganlyniadau mawreddog, canlynol i rag-ddarpariadau mor hunan-eglur! Doe, gwelid gwlad yn anial heb drigianydd, heddyw dechreuant ymboblogi, ac yn mhen ennyd gwelir tai, trefydd, a dinasoedd yn orlwythog gan fywyd dedwyddol! Plana hadau dynoliaeth ar ynysoedd anial, a buan eu gorlwythir â hiliogaeth nes gorlenwi eu glenydd. Anfona ei hiliogaeth anturus i gyffiniau y pegynau rhewog; yno eppiliant er gwaethaf echryslonrwydd gwrthdarawol eithafion oerni, ystormydd, a thymhestloedd. Yn y man cyfannedda y cylchoedd llosgadwy —*amrysona* i liosogi ei rywogaeth er gwaethaf pob gwrthwynebydd, oer neu boeth—nid oes a'i lluddia, eppilio a wna serch toddi i lesgedd, a llosgi yn ddu yn yr ymgyrch! Yn mhob man, dan ba amgylchiad bynag ag y gall bywyd ymgrafangu am fodoldeb, yno y ceir yr egwyddor genedlol fywydol hon yn heidio ei rhywiogaeth i "eppilio a llanw y ddaear," hyd nes y bydd yn *llawn*! Oni buasai yr egwyddor eppiliol hon, neu ei chyffelyb, buasai ein daear er ys llawer dydd yn anial annhrigiannol, heb enaid byw ond ein rhieni cyntaf—ddeu-ben brigwyn, i fwynhau ei llesiant a'i gorfoledd. Anifel, bwystfil, ehediad, ymlusgiad, blodeuyn, a phob glaswelltyn, y'nt oll, fel ninnau, yn ddyledus, ar barhad eu hadau a'u bodoliaeth ar wyneb paradwys Duw, i'r egwyddor hanfodol, anhebgorol, sef eppiliol hon; heb yr hon ni fuasai ond y ddau gymhar cyntefig Duw-grëedig: a buasai yr holl ddarpariadau o ddwfr, awyr, a daear, er cynnaliaeth, yn ofer-waith i gyd. Yr holl deyrnasoedd bwystfilaidd, anifeilaidd, pysgaidd, ehedogaidd, ymlusgiadaidd, a llysieuaidd, yn philosophaidd a gyflawnasent fesur eu cylchoedd, mae yn wir; eithr am eppilo, nis gallasent byth bythoedd!

Ped ystyrid rhyfeddol gynneddfau ail-gynnyrchiol daearol, yn eu dosparthiadau llysieuawg, ffrwythawg, ac anifeilaidd, tra y cynnyddir ymddibyniaeth dynoliaeth ddyfodol â'u rheidiau ychwanegol, a phed olrheinir hi yn ei holl chwyldroadau a'i hanfodau priodol, ardderchog a gwenog, sicr yw nad ymddangosai mewn unrhyw ystyriaeth o'i heiddo, gywreiniach, doethach, nac ar-

dderchocach egwyddor greadwrol o waith yr Hunan ddoeth a greodd yr oll, nag a ymddengys yn yr iawn ddealltwriaeth o rieinyddiaeth; ac ni wyddom am *ddim* ag sydd yn fwy tueddol i gynnyddiad dyn, ie, y *rhywogaeth* mewn dedwyddwch, nâ *lliosogiad*, yn y byd hwn a'r *hwn a ddaw*. Dyma begwn hanfodol dechreuol dedwyddwch dyn am amser ac i dragywyddoldeb—y myrddiynau dirif, megys cysgodau a fu, y miliynau presennol y sydd, heblaw y, pwy a ŵyr faint etto a ddaw i'n daear ni, oll, ydynt gangenau o'r boncyff rhieinyddiaethol dechreuol, drwy y briodas ddwyfol; mae eu ffrwythau, a'u blodau peraidd, a'u llysiau hardd yn tarddu o'r gwreiddyn hwn. O! mor ddedwyddol a'i hiawn ddeallo, ynte!

Ychwaith, dywedwn, nad yw yr hyn sydd o'r fath fawr amcan, ie, yn hanfodol i *fodoliaeth* y rhywogaeth ddynol, wedi ei adael i *ddewisiad* ein rhywiau ei wneyd ai peidio, nac ychwaith y *modd* ei gwneir, ond gorfodir ef arnom drwy orfodaeth creadigol ein natur yn anwrthwynebol ordeiniedig. "Amlhewch a lliosogwch" sydd orchymynedig gyfraith *reddfol* yn ein holl natur,—argraffedig fywydol yn ein gwreiddiol gyfansoddiadau. Oni bai hyn, dyn—yr oll sy'n fyw, yn fuan a beidient a bodoli! Megys pe creasid ef yn amddifad o archwaeth neu newyn, wedi ei adael i fwyta pan y cymhella ei gynneddfau ereill; ni wybuasai eisieu bwyd, neu wedi deall hyny, esgeulusai fwyta am dyddiau o'r untu; neu gallasai fod yn rhy gybyddlyd, neu yn rhy brysur wrth bethau ereill i fwyta, hyd nes y buasai farw o newyn, oni bai fod hyn yn *gynneddf greadigol* yn ei fodoliaeth. Felly hefyd o barthed i anadlu, cysgu, ymresymu, &c. Pa nifer o honom ein hunain a fuasai heb ein geni, oddieithr fod y gynneddf genedlol greadigol hanfodol yn ein rhieni? Ac heb gymhelliadau hon, pwy o honom a gymmerai arno yr holl gost, y drafferth, a'r gofid canlynol i fagu plant? Nid un o filoedd, debygwn, yn enwedig o famau. Diddymer y gynneddf hon o ddynoliaeth, ac ammheus yw a wnelai yr hiliogaeth bara un genedlaeth i gario yn mlaen y fasgnach ag y mae yr egwyddor hon yn gorfodi y byd drwy amser i'w wneyd. Weithian amlwg yw, ddarfod i'r ddoethineb hanfodol, i'r iawn drefniad o rieinyddiaeth, ac eppiliad, greu ynddo yr egwyddor yn hanfodol ac yn rhan o'i fodoldeb, fel trwy ei weithrediad bywydol drwy gymhelliad hon y cyflawnai brif amcan ei fodoldeb.

Cymhwysir y gynneddf hon i'r cynneddfau tadol a mamol mewn gwrryw a benyw, a hwythau iddynt hwy, fel ag y mae ysgogiad y naill yn galw yr unrhyw i weithrediad yn y llall, a hyn o herwydd cyfathrachrwydd y naill at y llall. *Cariad* yw yr achos cynhyrfiol i'r gynneddf bwrpasol i eppiliad ein rhywogaeth.

*Cariad*,—gwreiddiol, naturiol gariad, yn ei burdeb hanfodol, wedi ddeffro i weithrediad drwy gymhelliad ei chyfathrachydd deniadol mewn purdeb dyben, *yn unig* a ddichon iawn gyflawni deddfau y cylch hwn. Angylion a garant, ag ydynt gariadus, a'r rhai a garant fwyaf, ydynt debycaf yn hyn i Dduw, o herwydd "Duw cariad yw." Ac nid yw yr egwyddor hon yn hollol anadnabyddus i ddynoliaeth. Ffurfia ran o'i chyfansoddiad gwreiddiol. Ac nid oes neb hyd yn hyn yn hollol amddifad o'i melysder a'i swyniaeth. Diffodder y llusern hon o enaid dyn, ac ni bydd yn ngweddill ond afluneiddiwch diflas.

Eithr, diolch i ddoeth drefnydd naturiaeth, y mae yn aros yn y natur ddynol "gyfaill a lyna yn nes nâ brawd." Mae cwlwm cryfach nâ *bywyd*: sef, yr undeb enaid hwnw a gyssyllta galonau yn annattodadwy, ac a waea i'r pleidiau a'i medda, deimlad, ystyriaeth, a *hanfod* o "un cnawd." Cywir gariad, tydi santeiddiaf ffynnonell o bob dynol ysgogiad. Tydi frenines ddysclaeriaf daear—haul danbeidiaf ein natur, rhosyn pereiddiaf daearoldeb! Cysurydd a santeiddydd dyn! Tydi wyt fywyd ac enaid benyw. Cyfoethog dlws gweddilliol Paradwys! Tydi Baradwys dy hunan! O! ein doeth Grewr, pwy na ddiolcha i ti am greu ynom gynneddf mor nefolaidd, mor angylaidd, mor ddwyfol â hon, am fwynhad o ambell ddefnyn o'r môr didrai o berffeithrwydd nefoleiddiwch ei hun! Nid yw aur Ophir, *nectar* Eden, na daearol ragoriaethau, ond mân sêr i'r *haul* hon. Etto, O! maddeu i ddynolryw y cam-ddefnydd o honi—adfera, ail blana y llysieuyn dwyfol yn ngardd dynoliaeth, a meithrina ef megys cynt â hyfryd awelon nef, nes y perarogla fel yn nyddiau yr Iôr drwy gyffiniau ein paradwys ninnau yn awr. Yn enwedig na weler byth etto ardd briodasol y teulu dynol heb ei flodau peraidd. Na feiddied arall arweinydd arwain y ddwy-blaid eppiliol i'r byd priodasol. Dadwreiddier y wyllt winwydden a ffugia y ffrwyth dwyfol hwn o'n daear, a phlaner yn ei lle un o'r gyntefig hâd, a dim na'th briodo, ŵr, â gwraig, ond PUR A CHYWIR GARIAD.

*Newcastle St., Merthyr.* D. JONES.

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 336.]

33. Pob tad a rydd gyfreithiau i'w deulu, yn gyfartal i'r gradd o wybodaeth a feddiannir ganddynt. Y cyfreithiau a roddir i gyfranu y meddylrithiau o uniondeb ac anuniondeb i ysbrydion mabanaidd, ydynt o natur mwy syml nâ'r gyfran a drefnwyd er llywodraethiad ysbrydion wedi y cyrhaeddont y wybodaeth hon. Y mae gan bob cyfraith ei phriodol gosp yn gyssylltiedig â hi, yn ol natur y gyfraith a'r swm o wybodaeth a feddiannir gan y bodau y rhai a fwriadwyd eu llywodraethu ganddi. Y cospedigaethau neu'r ceryddon ar ysbrydion mabanaidd neu ieuengaidd, tra yn dysgu gwahaniaethu rhwng rhinwedd a drygioni, nid ydynt mor llymdost â'r cyfryw a roddir ar ysbrydion anufydd, y rhai yn barod a gyrhaeddasant yr amgyffredion rhai'n. Wedi dysgu natur uniondeb ac anuniondeb mewn rhyw bethau, rhoddir cyfreithiau yn dysgu iddynt eu dyledswyddau tuag at eu rhieni a thuag at y naill y llall fel brawd a chwaer ysbrydol, a thuag at angylion y rhai ydynt weision eu rhieni, a thuag at Dduwiau ereill a'u plant, a'r gweision a gartrefant yn y nef. Hefyd, bydd rhai ysbrydion lawer mil yn henach nâ'r lleill; ac, am hyny, os buont yn ddiwyd yn sylwi ar y cyfreithiau a roddwyd iddynt, hwy a fyddant yn mhell mwy deallus nâ'u brodyr ieuangach. Er enghraifft, Iesu, gan fod yn "Gyntaf-anedig pob creadur," a gawsai lawer o filiynau o flynyddoedd o brawf mewn ychwanegiad i'w frodyr ieuengach, gan ddarbod iddynt oll gael eu cenedlu gan yr un Tad. Yn awr y cyfryw a enid yn fuan ar ei ol Ef, a gawsent yn agos yr un faint o brawf. Ac y mae yn rhesymol i feddwl i'r ysbrydion rhai'n gael eu rhanu yn ddosparthiadau, yn ol eu hoed a'r wybodaeth a ennillasant trwy ufydd-dod i gyfreithiau eu Tad, a bod gwersi o hyfforddiad wedi eu rhoddi i bob dosparth, ac etto cyfreithiau uwch i gael eu dadguddio, i'w llywodraethu hwynt; ac fel y byddai cynnydd eu gwybodaeth, felly y cynnyddai hefyd eu hatebolrwydd.

34. Y cyfnod gofynol o amser i addysgu ysbrydion a ymddengys yn barhad llawer mwy nâ'r cyfnod penodedig i ni yn ein hail sefyllfa. Mae yn rhaid fod rhai o'r ysbrydion henaf wedi bodoli filiynau o flynyddoedd yn eu sefyllfa gyntaf, cyn iddynt gael y fraint o ddyfod i'r byd hwn. Yn awr, yn ystod y

cyfnod dirfawr hwn rhaid eu bod wedi cael cyfleusdra helaeth o ddyfod yn ddysn-ddysgedig yn holl gyfreithiau bodoldeb ysbrydol. Gan breswylio yn mhresennoldeb eu Tad, a chan gael dyfodfa at ei holl weision, yr angylion, a'r breintiau o gymdeithasu â'r holl Dduwiau pa rai breswylient yn yr un Nef, a pha rai oeddynt o'r un urdd â'u Tad, rhaid eu bod wedi cael cyfleusderau er cyrhaedd hysbysrwydd yn mhell tuhwnt i un peth a fwynhawyd yn y prawf hwn. Yn yr ysgol oruchel hono cawsant y cyfleusderau o ymofyn â'u Tad yr oll yn nghylch yr elfenau o ba rai y gwnaed y bydoedd, a pha fodd y gweithreda yr elfenau hyn ar y naill y llall, ac mewn perthynas i holl anfeidrolrwydd y cyfreithiau pa rai a roddwyd i'w llywodraethu hwynt yn eu gweithrediad, eu cyfundebau, eu hundebau, a'u trefniadau; ac yn fanwl, rhaid eu bod wedi cael eu dysgu yn holl gelfyddyd a gwyddoriaeth o fyd-wneuthuriad.

35. Yr oedd rhyw bethau, pa fodd bynag, y rhai nas gallasai yr ysbrydion hyn eu dysgu tra yr arosent yn eu sefyllfa gyntaf; nis gallasent ddysgu teimladau a syniadau ysbrydion corffoledig mewn pabellau o gnawd ac esgyrn. Y dychymmyg am y teimladau a'r syniadau rhai'n, nis gellid eu cyflwyno iddynt trwy ddysgeidiaeth, na thrwy un moddion ereill pa bynag. Nid gallu iaith nac arwyddion a allai roddi iddynt y dychymmyg mwyaf pell am danynt. Meddylddrych am y teimladau hyny a ellir eu cyrhaedd yn unig trwy brawf gweithredawl Gallesid eu desgrifio iddynt am filiynau o oesau, ac etto heb eu llesoli yn y cyflwr o'u profi drostynt eu hunain, nis gallant byth ffurfio un dychymmyg o barthed iddynt. Gellir egluro hyn drwy dybied am i blentyn gael ei eni mewn daeardŷ, lle na chaniatawyd erioed i'r peledryn lleiaf o oleuni fyned i mewn. Gallai'r baban hwn dyfu i fyny yn ddyn, a'r peiriannau o weledigaeth yn berffaith ganddo, ond ni fyddai ganddo un dychymmyg beth bynag am y syniad o welediad—ni allai ffurfio un amgyffrediad am oleuni, neu am harddwch amryliw o oleuni, er y gallasai y syniad hwn gael ei ddesgrifio iddo am gan mlynedd, etto nid gallu iaith a allai gyflwyno iddo y dychymmyg gwanaf am goch, neu wyrdd, neu lâs, neu felyn, neu un peth arall yn gyssylltiedig â'r syniadau cynnyrchiedig gan oleuni. Y teimladau rhai'n a ellid eu dysgu yn unig trwy brawf gweithredawl; y pryd hyny, ac nid cyn hyny, y byddai yn gwybod rhywbeth am dano. Felly, yn gyffelyb, y

mae llawer o deimladau a syniadau yn cyfodi oddiwrth gyssylltiad agos ysbrydion â chnawd ac esgyrn, a ellid eu dysgu trwy brofiad yn unig.

36. Y mae dau wahanol fathau o wybodaeth: un math a gyrhaeddir oddiwrth reswm ac adfyfyriad, o ba un, gwirioneddau hunan-brofedig ydynt y sylfaen; y llall a ennillir trwy syniad a phrofiad. Y meddylrithiau perthynol i'r math cyntaf a gyrhaeddir trwy gymharu gwirionedd â gwirionedd; oddiyma eu cyrhaeddir gan ysbrydion yn y dull hwn, a gellir eu cyfranu iddynt yn annibynol ar brofiad. Y meddylrithiau am y math olaf nis gellir eu cael trwy reswm ac adfyfyriad; dysgir hwynt yn unig trwy brofiad. Ysbrydion gan hyny a allant fyned yn mlaen i'r radd uchaf o wybodaeth mewn rhyw bethau, tra mewn pethau ereill rhaid iddynt aros yn anwybodus hyd oni osodir hwynt mewn amgylchiadau i'w dysgu trwy brofiad. Yn awr mae llawer o wirioneddau profiadawl, pa rai ydynt mor angenrheidiol i'w dysgu â gwirioneddau o natur wahanol, heb wybodaeth o ba rai nis gallai bôd deallawl byth gael ei berffeithio mewn gwynfyd a gogoniant; yna mae'n angenrheidiol i'r ysbrydion hyn ddyfod i gyrff o gnawd ac esgyrn, fel y gallont hwy trwy brofiad ddysgu y pethau pa rai nis gellid eu dysgu yn y sefyllfa ysbrydol. Ni chaniatëir i un o'r ysbrydion hyn gael pabellau o gnawd, os troseddant gyfreithiau y sefyllfa gyntaf, a throi oddiwrthynt yn gyfangwbl; canys os na arosant yn nghyfreithiau yr ystâd ysbrydol, a dal yn gyssegredig y wybodaeth a ennillwyd yno, ni ymddirieda eu Tad iddynt y wybodaeth a ennillir yn yr ail sefyllfa. Os na chadwant eu sefyllfa gyntaf, ni chaniatëir iddynt gychwyn ar yr ail; a hyn yw eu poenedigaeth, o herwydd eu cadw yn ol a'u gwarafun i gynnyddu mewn gwybodaeth a gogoniant gyda y rhelyw o'r teulu y rhai a fuont ffyddlawn. *(I'w barhau.)*

---

## AT LYWYDDION CANGENAU YN NGHYNNADLEDD DDWYREINIOL MORGANWG.

Crefwn eich sylw neillduol at, a'ch cyd-weithrediad effeithiol yn yr hyn a ganlyna; sef, yn gyntaf,—Cydunwyd yn unfrydol fod yr holl *stock* o lyfrau oedd ar law yn holl Gangenau y Gynnad-

ledd hon cyn y 3ydd o Orphenaf diweddaf, yn eiddo y Gynnadledd, sef y llyfrau ag y talwyd am danynt o'r casgliadau a wnaed yn gyffredinol, ac y fod dymuniad ar Lywydd pob Cangen eu danfon i Gynghor y Gynnadledd nesaf yn Merthyr. Un rheswm dros hyn yw, o herwydd angbyfartalwch yn y dyledion oedd ar y Cangenau y pryd hyny, ac o ganlyniad bod ffrwyth diwydrwydd a ffyddlondeb rhai Cangenau yn aros yn meddiant ereill annheilyngach o honynt; wrth eu casglu ynghyd, a'u bod yn eiddo y Gynnadledd, bydd eu gwerth at wasanaeth y *Gynnadledd* yn ol penderfyniad ei *Chynghor.*

Rheswm arall dros hyn yw, y gellir fel hyn grynhoi yr holl *gyfrolau* o'r UDGORN a'r *Star*, pan, yn y sefyllfa wasgaredig, yr *odd* rifynau yma a thraw, nid ydynt o nemawr werth mewn cyferbyniad i'r hyn a fyddai *cyfrolau* o honynt. Os gwerthodd y dosparthwr beth o'r *stock* oedd ar law cyn y 3ydd o Orphenaf, ar ol hyny, y mae hyny i'w gyfrif gyda y gweddill a adewir ar law o'r llyfrau hyny. Os oedd peth o'r *stock* hyny wedi ei wasgaru neu ei roddi, o hyny hyd yn awr, heb fod gobaith o gael tâl am dano, hysbysed y Llywydd hyny, a pha fodd y bu, yn y Cynghor. Hollol annhrefnus fyddai i ddosparthwr rifo y llyfrau oedd ar ei law *cyn* yr amser a nodwyd, at y rhai sydd yn sefyll ar ol yr amser hwnw, i wrthgyferbynu y ddyled, o herwydd talwyd am y rhan flaenaf eisoes drwy gasgliadau cyffredinol, eithr y rhai olaf a berthynant i'r Gangen ei hun.

*Yn nesaf*, sylwn, os iawn ddeallwn, fod pob Cangen yn gyfrifol am ei llyfrau, mai eu gwas hwy, o'u *dewisiad* hwy, yw y *Dosparthwr*, ac nid o'n dewisiad ni; o ganlyniad pwy ond y Gangen a ddylai foddloni eu hunain o barthed i'w holl drafodaeth ag ef. Rhesymol hyn ar yr egwyddorion yna. Ac felly, oni ddylai Llywydd pob Cangen ofalu ar fod *llyfrau* cyfrifon ei dosparthwr yn dangos cyfiawnder, ac nid boddloni i *ddywediad* neb ond hyny. Nid ammheuaeth am y dosparthwr a'n cymhella i hyn, eithr gan mai hyn yw y gyfraith, yna hyn yn unig sydd gyfiawn. "Dywedwch chwi fod hwn yn onest, a bod y llall yn ddyn gonest," ebe Indiad rhyw dro wrth ddyn gwyn; "ond," ebe fe, "*you watch 'em!*" Ac, meddwn ninnau, mae dyn gonest yn hoffi cael ei wylio. Gwylwyr dros yr eglwys yw y *Llywyddion.* Gan fod y Saint yn gyfrifol, teimlent yn fusnesol yn y peth, ond mewn trefn serch hyny. Na fydded esgeulusdod gofal y Llywydd dros y dos-

parthwr achosi i'r Saint ymyraeth â'r peth, na rhoi lle i neb drwgdybus allu credu fod dim annhrefn yn nosparthiad y llyfrau. Y gyfraith yw, fod dau i edrych dros y llyfrau bob chwarter, a gweled fod y *stock* ar law y chwarter hwnw, os dim, yn gyfartal i'r gofyniad, ac os nad yw, cael allan beth yw yr achos. Pe gwnelsid hyn, ni fyddai perygl myned i ddyled; heb hyn, wyddis deuir o hono byth! Craffer! *cofier*!! a GWNELER hyn!!! At y llyfrau sydd ar law ar ol yr amser uchod y cyfeiriwn yn yr hyn ddywedasom yn ddiweddaf cofier, a'r drefn i weithredu o hyn allan, o barthed i bob llyfrau, yn y Gangen. Pe talai pob un am ei lyfr ei hun, yna ni fyddai dyled ar y Gangen yn bosibl ar ol hyn. Ac o bob peth câs, gwareder ni rhag "dyled y Gangen" neu "ddyled y Gynnadledd!" Alltudier y fath frawddeg allan o'n cyffes ffydd mor gynted ag y galler!

Am UDGORN SEION, dywedwn ei fod yn rhâd iawn am geiniog yr un, ïe, yn rhatach i'r prynwr nag i'r gwerthwr. Ei gylchrediad yn unig a alluoga ei werthiad mor rhâd. Os lleiheir ei gylchrediad, bydd yn rhaid codi yn ei bris. Pa un a ddewiswch, frodyr? Cwyna rhai eu bod yn methu gwerthu yr oll a dderbyniant. Wrth y cyfryw dywedwn, gwnewch yr oll a alloch i agoryd llygaid ereill i weled eu llesâd eu hunain drwy ei dderbyn. Sicr yw y gwna iddynt fwy o les nag a allant wneyd â'r *geiniog* mewn un ffordd arall. Nid y'm am i neb feddwi fod gorfodiaeth ar neb i'w gymmeryd, oni ddeallant fod eu llesâd eu *hunain* a llesâd eu *plant* ar eu hol, yn eu gorfodi i'w dderbyn—ei *ddarllen* yn ystyriol, ac i DALU AM DANO yn ewyllysgar. Ar ol i chwi ryddhau eich cydwybodau oddiwrthynt, ni wyddom am well ffordd i'w hadferyd o'r tywyllwch hyny, nâ'u gadael hebddo nes y teimlant eu newyn. Bydd colled dwbl i neb wrthod cymmeryd yr holl gyfrol ar ol ei dechreu—nid yw hyn yn gyfiawn—hysbyser hyn i bawb wrth ei dechreu. Anallu yn unig a gyfiawnha neb i wneyd hyn; ac os hyny, dylai ymdrechu cael arall i gymmeryd ei le. Nid yw rhifynau o unrhyw lyfr na chyhoeddiad yn bethau ag y gellir eu cymmeryd na'u rhoi heibio pan y mynir gydag unrhyw blaid, mwy nâ'r Saint. Nid y'm am i'r Saint na'r Llywyddion ystyried eu hunain o dan faich na gormes o barthed i unrhyw lyfrau, na dim arall yn yr eglwys hon. Ewyllys rydd yw ei phrif, ïe, ei *hunig* gymhellydd i bob gweithrediad. Ffeithiau a ddangosant pwy sydd yn iawn brysio yr egwyddor nefol

hon, drwy ei hiawn ddefnyddio! Siaradwn yn blaen ar hyn, o herwydd cyfarchwn ddoethion, dynion egwyddorol, fel na raid cymhell o hyd. Dechreuir cyfrol o'r UDGORN gyda'r hanner blwyddyn ddyfodol: dymunwn wybod pa nifer a allai pob Llywydd werthu o'r gyfrol nesaf, ac nid yn unig pa nifer o *rifynau* a *ddechreuant* gymmeryd, ond pa nifer o *gyfrolau* a allant *dalu* am danynt! Anfoner o hyny allan, y nifer hyny yn *unig*, a dysgwylir na chlywir son am "ddyled Cangen" na "dyled dosparthwr" byth wed'yn. A ofala pob Llywydd anfon hyn i'r *Golygydd* ac i'r *Dosparthwr* mewn pryd? Canys â'r Llywyddion yn unig y mae a wnelom ni yn y peth hyn.

Hefyd, y *Millennial Star* sydd gyhoeddiad rhy adnabyddus i fod eisieu i ni ei ganmol; gwyddoch y daioni a gawsoch drwyddo. Onid yw yn werth talu am yr oll a ddaw atoch o hono? Na ellir ei gael heb dalu sydd hunan-eglur! Os oes mwy o hono yn myned i rai manau nag a werthir yn awr, ni wyddom am well ffordd nag ymdrechu gwerthu yr oll o'r *gyfrol hon*, ac yna anfon mewn pryd pa nifer a ymofynir y gyfrol nesaf. Nid yw *odd* rifynau yn cael eu hystyried mor werthfawr â *chyfrolau*, a gwell casglu cyfrolau drwy gyfnewid rhifynau o amrywiol fanau ar y diwedd. Cofier mai cynnyddu eu gwerth y mae llyfrau y Saint, ac nid lleihau fel braidd pob llyfrau ereill, yn ol cynnydd eu hoedran.

*Newcastle St., Merthyr.* D. JONES.

---

## YR UNIG FFORDD I FOD YN GADWEDIG.

MAE y pwnc yma yn un ag sydd o'r pwys mwyaf, a dyledswydd pob dyn yw chwilio drosto ei hun am yr unig ffordd. Mae yr Iachawdwr wedi dweyd, "Myfi yw y ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd." Gwelwn mai *ffordd* yw, ac nid *ffyrdd*. Hefyd, "cul yw y ffordd sydd yn arwain i'r bywyd, ac ychydig yw y rhai sydd yn rhodio ar hyd ddi." Mae miloedd yn ein gwlad yn cymmeryd arnynt i ddysgu y ffordd i fod yn gadwedig, yn ol eu gwahanol ddychymmygion. Ond dangoswn ninnau, yn fyr, yr unig ffordd i fywyd, fel y canlyn:—

Y pethau cyntaf, er i ddyn ddyfod i'r ffordd hon ydyw, credu yn Nghrist, edifarhau am ei bechodau, cymmeryd ei fedyddio gan

un o Henuriaid Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, a thrwy arddodiad eu dwylaw hwy, derbynir yr Ysbryd Glân. Pwy bynag a wna gymmaint â hyn, a gaiff wybod ei fod wedi dyfod i ben y ffordd. Yr egwyddorion hyn yw y rhai sydd yn dechreu dyn yn Nghrist Iesu; ac ni ddichon neb ddyfod at y Tad, medd yr Iesu, ond "trwof fi." Mae dyn pryd hyn yn dechreu dyfod yn etifedd i Dduw, ac yn gyd etifedd â Christ. A phwy bynag a ddaw fel dyn bach trwy yr ordinhadau hyn, rhoddir tystiolaeth iddo gan Dduw, megys i ninnau. Yna ar ol dyfod mewn i'r Eglwys, y peth cyntaf sydd gan ddyn i'w wneyd yw, gweddio a gwylio yn wastadol. Yn ail, ymdrechu dyfod i adnabod llywodraeth yr Offeiriadaeth;—rhoddi gwrandawiad, fel dyn bach, i'r rhai hyny sydd yn dal yr Offeiriadaeth; canys mae y cyfryw yn gyfryngau gan Dduw, i gyflwyno gwybodaeth i'w Saint. A boed i bawb gofio mai *plant* fyddant, ie, yn mhen pum mlynedd. Mae llawer yn yr Eglwys hon er ys deg, pymtheg, ugain, neu ragor o flynyddau, ac wedi byw yn ffyddlawn, gan gadw gorchymynion Duw, trwy yr holl brofedigaethau ag y maent wedi myned trwyddynt, ac etto yn ystyried eu hunain megys plant bach, yn gwybod *dim*, mewn cymhariaeth i'r hyn sydd etto yn ol i blant Duw. Wedi i ddyn gael ei eni o ddwfr ac o'r Ysbryd, mae yn dechreu tebygoli i'w Dad; ac nid yw ei Dad yn foddlon hyd nes y daw yn Hollwybodol, megys ag y mae Ef ei hun. Gall dyn yn yr eglwys hon ennill iddo ei hun goron dragywyddol yn Nheyrnas Dduw! Ac O! frodyr, llawenhewch, am fod Duw wedi cymdeithasu â dynion yn yr oes hon, ac wedi sefydlu ei drefn ogoneddus ar y ddaear, er iachawdwriaeth i'w bobl, a chwithau yn gwybod hyn. Nis gall holl ddoethineb y byd, nac holl allu uffern eich gorchfygu, tra y byddoch yn gwneyd eich dyledswyddau; cewch Ysbryd Duw i'ch goleuo, ac i'ch harwain ar hyd y ffordd i bob gwirionedd; canys ar hyd y ffordd *hon* mae y gwirionedd yn dyfod yn barhaus. Ac fel y mae dyn yn myned ar ei daith ar y ffordd hon, mae cyfiawnder Duw yn cael ei ddadguddio o gam i gam, ac o ffydd i ffydd, nes y mae y ffyddawn yn barod i waeddi, "Dyro i ni drachefn a thrachefn o orfoledd dy iachawdwriaeth."

Hefyd, bydded i bawb gofio, pan y maent yn dyfod i mewn i'r Eglwys hon, eu bod yn dyfod i ysgol ddwyfol, a bod Duw yn rhoddi hefyd hyd y gadwyn i'r diafol er profi pawb—cant eu

gwrthod gan eu perthynasau anwylaf, a chan eu ffryndiau goreu, a thylwyth eu tŷ eu hunain a droant weithiau yn elynion penaf iddynt. "Chwi a fyddwch gâs gan bawb er mwyn fy enw i," medd yr Iesu, "o herwydd pe byddech o'r byd, y byd a garai ei eiddo," a'r "neb a ewyllysio fyw yn dduwiol yn Nghrist Iesu, a erlidir." Ond bydd yr holl wg, y gwawd, &c., &c., megys *dim* yn eich golwg, mewn cymhariaeth i'r dystiolaeth fydd yn eich meddiant, ynghyd â'r bendithion lliosog a fwynhewch drwy y cwbl.

Yr ydym wedi dangos rhai o'r pethau sydd gan ddyn i'w credu ac ufyddhau iddynt, er bod yn gadwedig. Etto, y mae gan ddynion i gredu fod Joseph Smith yn Brophwyd i Dduw, a bod "Llyfr Mormon" yn wirionedd; hefyd, fod Brigham Young (ac nid Sidney Rigdon) yn olynwr i Joseph Smith, ac ei fod hefyd yn Brophwyd, Dadguddiwr, a Gweledydd i Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf. Mae rhai o ganlynwyr Sidney Rigdon wedi llechu yn yr Eglwys yma er ys blynyddau; ond diolch i Dduw, eu bod yn diflanu; gweithredir tuag atynt gyda llaw gadarn. Diolched yr holl Saint am gael gwared o honynt.

Dyledswydd pob swyddog yn nheyrnas Dduw, yw troi ei galon, ei deimladau, a'i serchiadau, at ei Llywydd; ac megys yr ydych yn ceisio am Ysbryd yr Arglwydd, i'ch galluogir i wneuthur ei ewyllys; ac felly, gyda'r un awydd, y dylech geisio am ysbryd, ewyllys, a golygiadau eich Llywydd, er gwneuthur yr unrhyw gyda phob gostyngeiddrwydd calon, ie, yn fwy felly, oblegid eich bod yn dal swydd gyfrifol a dyrchafedig. Os ydych am fod yn debyg i'ch Meistr mawr, na cheisiwch byth wneuthur eich ewyllys eich hunain, eithr ewyllys yr hwn sydd fwyaf. Y dyn hwnw na thry ei galon yn gwbl at ei Lywydd, fel ei gynghorwr uniongyrchol, nis gall gael gallu i lywodraethu, a rhoddi dylanwad er iachawdwriaeth i'r bobl. Nid yw Offeiriadaeth Duw yn arddel un egwyddor arall o lywodraeth, oblegid ei bod yn berffaith, a gofynir perffaith ufydd-dod iddi, gan bob deiliad, pa un bynag ai uchel ai isel, cyfoethog neu dlawd; pe amgen, nis gallai cyfrifoldeb orphwys lle y perthyna, a phan gymmero dyn arno yr hawl i wahaniaethu oddiwrth ei lywodraeth Ef, y mae yn cymmeryd arno yr hawl o fradychu llywodraeth Duw, a'i gosod yn agored i ddylanwad marwol a gwrthwynebol, yr hwn ydyw gallu y diafol. Mae llawer yn dyfod i fewn i'r Eglwys hon, ac yn rhedeg yn dda am rai blynyddau; yna, dechreuant

gasâu eu brodyr, gan ryfela yn erbyn yr Offeiriadaeth. Cofiwch, "Pob un sydd yn casâu ei frawd, lleiddiad dyn yw;" a chwi a wyddoch nad oes i "leiddiad dyn fywyd tragywyddol yn aros ynddo."

Gall dynion yn yr Eglwys hon ddyfod yn freninoedd ac yn offeiriaid, ïe, yn Dduwiau hefyd, os parhant yn ffyddlawn. Ac o'r ochr arall, os na fydd iddynt barchu yr Offeiriadaeth, ac *ufyddhau* iddi, byddant yn sicr o fyned yn gythreuliaid, ac yn elynion i Dduw, megys eu tad *Lusiffer.*

Rhybyddiwn yr holl Saint i fod yn wyliadwrus yn y dyddiau hyn, a phrofi yr ysbrydion ai o Dduw y maent ai peidio. Byddwch yn addfwyn wrth ddysgu y rhai gwrthwynebus, ac na chyffrowch, rhag wrth hyny y derbyniwch o'u hysbryd. Byddwch ddoeth tuag atynt, er ymdrechu eu cael i edifeirwch, ac i gydnabod y gwirionedd.

Dymunwn ar Lywyddion y Cynnadleddau wneyd pob ymdrech i gael Henuriaid i fyned allan i bregethu yr efengyl, canys mae y tymmor yn hyfryd. Yr wyf wedi trafaelu trwy amryw siroedd yn ddiweddar, ac O, mor hyfryd yw yr olwg sydd ar y maesydd! y mae'r cynauaf yn fawr iawn, a'r gweithwyr yn anaml. Gweddiwn am weithwyr i fyned allan i'r cynauaf. Mae argoelion am gnwd toreithiog y tymmor hwn. Mae fy ngweddi ar Dduw, y Tad tragywyddol, i fendithio yr holl Eglwys yn Nghymru, a bydded ei Ysbryd Glân ef yn dywalltedig arnoch, yn enw Iesu Grist. Amen.

WILLIAM S. PHILLIPS.

14, Castle St., Merthyr, Mehefin 1, 1853.

---

## LLYTHYR AT Y LLYWYDD W. S. PHILLIPS.

*Dinas y Llyn Halen Fawr, Ionawr* 31, 1853.

ANWYL FRAWD W. S. PHILLIPS,—Yr wyf wedi anfon atoch amryw lythyron, a deallais wrth lythyr John Parry at ei dad, eich bod wedi eu derbyn. Ni chefais un linell oddiwrthych chwi; ond mae pob peth yn dda. Mae mwy o eira wedi disgyn y gauaf hwn, nag y mae neb o'r mynyddwyr yn gofio; mae hyny wedi attal y mail dwyreiniol er Tachwedd hyd ddydd Llun diweddaf, pryd y daeth dau gerbyd i fewn i'r Ddinas, trwy eu llusgo ar

groen eidion dros yr eira, am dros gant o filltiroedd o'r Ddinas. Mae yr eira wedi ein hamddifadu o lawer o newyddion tramor y gauaf hwn. Mae mail California wedi cael cryn lawer o eira hefyd, er hyny daeth hwnw i fewn heb fod yn mhell iawn o'i amser. Mae llawn cymmaint o eira wedi disgyn yn y Dyffryn, os nad mwy, ag a fu er pan mae'r Saint yma, ond ei fod yn toddi ffwrdd yn ebrwydd; oddeutu naw diwrnod yr arosodd fwyaf yn y Dyffryn, ac yn y cyfryw amser yr oedd yr heolydd yn llawn o bobl yn cyflymu ar hyd a lled y ddinas. Bum allan ar y rhew a'r eira mwyaf a wnaeth yma eleni, ac ni theimlais mo hono mor oer yma ag y teimlais yn yr hen wlad. Mae yr anifeiliaid yn dod yn mlaen yn dda allan trwy y gauaf, oddieithr dros y naw dydd uchod. Mae yn dywydd hafaidd hyfryd yma yn awr er ys tua pythefnos, a phawb yn darparu 'yn brysur iawn erbyn y gwanwyn. Y prif waith cyhoeddus yn bresennol, yw adeiladu y mur oddi amgylch y Temple Block; siaradir am ei orphen yn fuan, ynghyd â chael y Deml dan dô erbyn y gauaf nesaf. Pa un a wneir hyny, sydd yn ymddibynu yn hollol ar pa un a ddaw y Saint i'r maes â'u holl nerth i'r perwyl hyny ai peidio; nid yma yn unig, ond trwy yr holl fyd. Cofied pawb sydd ag eiddo ganddynt, fod Duw yn dysgwyl iddynt dalu cyfran o hono i adeiladu Temlau a Chyssegrfeydd i'w enw ar y ddaear yn yr oes hon. Y mae y newyddion mwyaf dymunol am lwyddiant buddugoliaethus yr Efengyl trwy yr holl ddaear, yn dyfod yma o dro i dro. Mae y gair ar led yma, fod dau cant a hanner o enwau personau wedi eu rhoi i lawr yn bresennol, i'w danfon ar genadiaeth y flwyddyn hon! Gwae i'r hen Babilon fydd hyn!!

Tra mae yr Henuriaid yn adeiladu teyrnas Dduw yn mhlith y ddaear, mae y Saint yn adeiladu a sicrhau teyrnas Dduw yn Nyffrynoedd Ephraim, o dan gyfarwyddyd y dyn goreu ar y ddaear, sef ein hanwyl Lywydd Brigham Young, Apostol, Prophwyd, Gweledydd, a Dadguddydd y Duw byw, i wir Eglwys Crist ar y ddaear. Mae y Saint yn lledaenu eu terfynau ar hyd a lled y Diriogaeth hon, gan adeiladu trefydd a dinasoedd newyddion: annhraethol yw y gorchestion a gyflawnir gan y Saint yma. Dyma y lle goreu dan haul i ddyn a dynes gonest a diddiogi, i gyfoethogi eu hunain yn dymmorol ac ysbrydol. Ac O, na fyddai yr holl Saint ffyddlawn yma yn bresennol, iddynt gael rhan o'r pleserau a'r hyfrydwch a fwynhawn yn y *parties* yn

awr ac eilwaith; ond yn fwy na'r cwbl i gael rhan o'r lles, yr adeiladaeth, a'r dyddanwch a gawn trwy wrandaw Apostolion a Phrophwydi yn ein dysgu, mewn modd hyawdl a medrus dros ben. Mae y Saint ddaeth drosodd yr un pryd â mi yn fyw ac iach i gyd, ond eu bod wedi gwasgaru ar hyd y dinasoedd, yn ol cynghor. Gwaith cartrefol yw yr hyn mae y bobl yn ymestyn ato â'u holl egni; ac yr ydym yn llwyddiannus iawn yn ein hymgais. Byddwn yn fuan yn medru gwneyd yr oll fydd arnom eisieu o fewn y Diriogaeth; y mae Duw yn gadael ei fendith ar bob peth a ymaflo y Saint ynddo. Mae pob peth yn dda a llwyddiannus trwy y Diriogaeth. Dysgwyliwn lu o Saint adref o bedwar cwr byd, yn y flwyddyn hon, gyda'u haur a'u harian, peiriannau a gwerthfawr bethau o bob math gyda hwy er adeiladu Seion.

Mae rhan o'r peiriant siwgr yn cael ei osod ar y Temple Block, i fod yn weith-dŷ i'r gofiaid am yr amser presennol, ond fe'i symudir i Provo yr haf nesaf, lle y mae gweithfa siwgr i fod. Mae y Cymry sydd yma yn dod yn mlaen yn dda. Hysbyswch y brodyr D. Jones, T. Jeremy, a D. Daniels, fod teulu pob un o honynt yn iach ac wrth fodd eu calon. Yr wyf finnau wrth fodd fy nghalon; dyma le rhagorol sydd yma. Mae y bobl yn dweyd fy mod yn pesgu, ac yn siwr, yr wyf yn teimlo fy mod yn bwfflyd fy hun hefyd.

Fy nghofion atoch chwi, ac at y Saint anwyl yna, ac at fy hen ffryndiau. Llwyddiant i chwi dreiglo teyrnas Dduw.

Yr eiddoch yn y cyfammod newydd a thragywyddol,

ELIEZER EDWARDS.

---

## Y PLENTYN DALL.

(Efelychiad o Saesneg Mrs. Hemans.)

FY Mam! fe ddywedir mai dysclaer yw'r sêr,
  Ac mai glâs yw yr wybren fawr fry;
Breuddwydiaf am danynt bob dydd a phob nos,
  A thybiaf hwy'n debyg i chwi.
Nid allaf â'r uchel wybreni byth gwrdd,
  A'r sêr ni siaradant â mi;
Ond yr hoff feddylrychau am danynt a gaf,
  A'u lluniant yn debyg i chwi.

Am y wlad wynfydedig breuddwydiaf o hyd,
  Ond yr achos o hyny ni wn;

A phan 'rwyf yn clywed eich llais, tybiaf fi
Fod nefoedd yn debyg i hwn.
Pan wasgir fy nghalon brudd at eich un chwi,
Maddeuir fy ffoledd i gyd;
Rhyw bleser tra hyfryd a leinw fy mron,
A Nef ydyw hyn yn fy myd.

O, mam! a faddeua y Bôd mawr sydd fry,
Fy meiau, fel ag y gwnewch chwi?
A gymmer E'm gofal?—Oes cariad gan Dduw
At blentyn sy'n ddall fel myfi?
Na âd fi, mam anwyl, byth wrthyf fy hun,
Tyr'd genyf drwy angeu a'i fraw;
Eich merch ddall arweiniwch i'r orsedd wèn fawr,
Gan aros yn yr entrych gerllaw.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Dywedir fod Amherodres China, yr "amherodraeth nefolaidd" fel ei gelwir, yn Gristionoges, ac fod ei gwr mor agos i fod yn Gristion ag oedd Agrippa gynt, o leiaf!

Hysbysa Newyddiadur Americanaidd fod mwy na chymmaint arall o ddrwg-weithredoedd yn cael eu cyflawni yn "New York," yn ol cyfartalwch y trigolion, nag a gyflawnir yn Llundain. Pwy ond yr Hollwybodol a ŵyr faint yw hyny?

Ganed i'w Mawrhydi, yn ddiweddar, fab bach arall, ac i'w deiliaid Dywysog newydd i ychwanegu y llu.

"Rhuodd y tarw fel taran, rhedais innau fel mellten; ac wrth neidio dros y clawdd fel syrthiad sêr gwibiog, rhwygais fy nghlôs fel pe daethai y nef a'r ddaear ynghyd," ebe llais dychrynedig dihyryn yn yr awel, pan na welid ond blaen cwt ei got yn syth o'i ol.

Gwnewch ddefnydd o gyfaill gyda llawer o ochelgarwch; nac ymddiriedwch cyn yr adwaenoch ef yn dda; canys llawer a gymmerant arnynt fod yn gyfeillion, ac a ddefnyddiant weniaith fel gorchudd i guddio eu calonau twyllodrus rhag dynion.

---

Taliadau o Mai 27 hyd Mehefin 3.—Sir Fflint, £1 12s; Sir Fôn, 15s; Sir Ddinbych, £1 10s; Troedyrhiw, 4s; Pendarren, 4s; Pontypridd, 7s 2c; Caerdyf, 14s; Pontfaen, 4s; Cap Coch, 14s; Georgetown, 12s; Llanfabon, 3s 7c; Ffynnon-Tydfil, 4s 7c.—Cyfanswm, £7 4s 4c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 24.] MEHEFIN 11, 1853. [CYF. V.


## DIRGELEDIGAETHAU I'R SAINT!

DIRGELEDIGAETHAU i'r Saint fyddant y pethau mwyaf derbyniol, a'r mwyaf llesol, ac hefyd y mwyaf dyddorol ganddynt, debygwn. Y mae rhai Saint, o'r ochr arall, yn dysgu *dirgelwch* mawr i'r byd rai prydiau; a thrwy ffeithiau gweledig yn eu buchеddau hwy, yn profi y posiblrwydd o'r hyn oedd yn anhygoel iddynt gynt; sef, y fod yn *bosibl* mwynhau doniau nerthol yr Ysbryd Glân yn yr oes hon, ac ymollwng i gyflawni pechodau wedi hyny! Da fuasai genym ni ped arosasai y *dirgelwch* hwn yn nghudd yn fythol i'r byd, a diau mai da iawn fydd gan y rhai a'i dadguddiodd i'r byd, hwyr neu hwyrach, pe nas profasent hyny iddynt. Y dirgelwch ag sydd yn peri syndod mawr i'r byd yw, paham a'r nad yw y Saint yn byw yn ol eu proffes—pa fodd y dichon y rhai a gawsant adnabyddiaeth o Dduw, mwynhad o faddeuant pechodau, a chip-olwg ar ardderchogrwydd yr iachawdwriaeth fawr yn Ngbrist, i lithro yn ol i'r byd, ac yn ymollwng i'w wyniau a'i chwantau. Ac yn wir, nid syndod bach a bara hyn i ninnau ychwaith, pan ei hiawn ystyriwn; a chredwn, os oes rhyw beth yn peri syndod i deulu y nef, mai hyn yw—gweled y rhai y'nt yn etifeddion y nefoedd, a'i holl ogoniant, yn ei amser, mewn addewid; a'u bod yn *gwybod* hyny, drwy seliad Glân Ysbryd yr addewid hyd bryniad y pwrcas—gweled neb o'r cyfryw yn troi eu cefnau ar yr oll o hyny; ïe, yr oll sy'n werth ei gael, ac yn ei le, yn ymfoddloni ar yr hyn ag y byddai yn elw iddynt fod hebddo! Uwchben y fath druan, pwy a all beidio synu a thost-

urio? Eithr da yw dweyd mai anfynych eu gwelir; y fath hymodion, goreu po anfynychaf.

Credwn mai y dirgeledigaethau goreu a allwn ddysgu i'r Saint yw, i fyw yn dduwiol yn ol cyfarwyddiadau eu crefydd o ddydd i ddydd, yn mhob man a phob amser; o herwydd, felly yn unig y mwynhant "lawenydd mawr yr Ysbryd Glân," yr hwn fydd felysach iddynt nâ dim a all dyn hebddo ei ddweyd wrthynt. Dywedasom hyn lawer gwaith, a phrofodd Duw wirionedd y ddysgeidiaeth i foddlonrwydd pob un a'i gwnaeth; etto, y mae tueddiad yn y meddwl dynol i lygredigaeth, ac i anghofio ei lleshad penaf; am hyny, cyffrown feddyliau puraidd y Saint trwy ddwyn i'w cof y dirgeledigaethau mwyaf cymhelliadol i dduwioldeb; canys "Duwioldeb sydd fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd hwn, ac o'r hwn a ddaw;" felly, yr hwn a feddo fwyaf o dduwioldeb, yw yr hapusaf a'r cyfoethocaf o bawb; am hyny, y ffordd oreu i ymgyfoethogi yn hyn yw, drwy ymwadu ac ymwrthod â phob peth ag sydd yn groes i feddwl ac ewyllys Duw: os felly, i'r graddau hyny cawn ei Ysbryd ef, yr hwn yn ei ymarddelwad arnom, sydd yn ein santeiddio, neu yn creu delw Duw arnom, yr hyn yw duwioldeb, sef *Duw-iol-debyg*.

O bob dysgeidiaeth a gawsom erioed, cael ein dysgu pa fodd i fod yn *dduwiol* yw y werthfawrocaf, yr oreu, ac hyderaf yr un fwyaf blasus. Trwy ddaioni Duw yn anfon dysgawdwyr atom, a ddysgwyd ganddo, y cawsom ninnau y fawr-fraint hon. Y ddysgeidiaeth hono a brofir yn ddwyfol i chwi drwy fwynhad o ddwyfol fendithion yn eich ufydd-dod iddi. Yma gwelir un o ddirgelion teyrnas Dduw i chwi na ddealla y byd am dano! Synant paham mae y Saint mor awyddus am ddysgeidiaeth o hyd; ni wyddant mai dyma y ffordd y mae Duw yn eich maethu chwi â "bara y plant," ac â phob bwyd yn ei bryd, fel y cynnyddoch ar ei ddelw. Oni allwch chwi amlygu y dirgelwch hwn iddynt hwy? Gallwch yn ddiau trwy eich ufydd-dod i'r ddysgeidiaeth a gewch o'r ffynnonell iawn—trwy iddynt weled ei ffrwythau hi yn eich bucheddau duwiolfrydig—eich caredigrwydd a'ch gostyngeiddrwydd, ynghyd â'ch taerineb gyda hwythau i'ch dilyn chwi. Dyma y ffordd sicr i gael o ffafr Duw yn barhaus, ac i gael myned i'w bresennoldeb bythol.

Cofiwn mai gwreiddyn ein tyfiant, wedi dyfod i'r eglwys hon, a'r maeth sydd yn ein cynnyddu, sy'n deilliaw trwy weddio Duw,

o galon gywir am ei ysbryd ef, heb yr hwn anmhosibl yw i neb grefydda yn iawn yn yr eglwys hon, ac ni cheisia neb yn hir ychwaith. Nid nythfan i ragrithwyr y ddaear yw hon, eithr lle yn *unig* i'r rhai sydd am wasanaethu Duw â'u holl galon. Os esgeulusir gweddio yn y dirgel, buan y diflasa y weddi deuluaidd, ac yna bydd y cyrddau cyhoeddus yn fwy annymunol, naill ai yn rhy hir, marwaidd, neu yn rhy fynych; hawdd fydd boddio y gydwybod i esgeuluso ambell un; ac o radd i radd, os na cheir bywyd trwy weddio am dano, hawddach hawddach fydd esgeuluso cyrddau a dyledswyddau ereill o un i un, nes myned i dywyllwch, a braidd yn ddideimlad o'r perygl. Saint hynaws, arswydwn rhag y llithrigfa yna, fel y ffordd i ddystryw; a chofiwn nad yn ein nerth ein hunain y crefyddwn, nad i ni ein hunain y crefyddwn, nac i ddynion, ond mai peth yw crefydd bur ag sydd yn cylymu dyn wrth ei Dduw drwy sugn-dynfa ei Ysbryd Glân. Os bydd arnom eisieu bwyd ysbrydol, awn at fwrdd ein Tad yn y dirgel, ac yn ei eglwys, ac yn ein holl ddyledswyddau, fel y rheda ein plant ni atom ninnau, a chawn ddogn dydd yn ei ddydd ganddo. Dyma y ffordd i gael mwynhau ychwaneg o ddirgeledigaethau ei deyrnas tra fyddom *yma*; ac O, mor felys fydd, pan elom i Seion, na fydd raid *yno* ddysgu y gwersi a allasem ddysgu yma,—i gofio, na rwystrodd ein hesiamplau ni mo neb i ddod i eglwys Dduw, na'n rhwystro ninnau i gael breintiau a bendithion y ffyddloniaid yn nheml Dduw, ac yn nghynnulleidfa yr Arglwydd.

Saint hynaws, ymarddelwed ein crefydd santaidd arnom nes ein dwyn i'r unrhyw ddelw â hi ei hun;—cadwer ei holl orchymynion, a glyner wrth ei Hawdwr drwyddi, yn barhaus. Gwir fod rhai rhwystrau wedi bod ar ffordd rhai i wneyd a ddymunent, ond cyd-lawenhawn â chwi oll yn awr, canys y maent wedi cael eu gyru o'ch ffordd, fel peiswyn o flaen corwynt;—mae yr offeiriadaeth sy'n eich arwain chwi mor ddilwgr a phur ag egwyddor ein Tad nefol. Nid yw llygriad yr offerynau a'u dalient yn ei llygru hi, na'r cam-ddefnydd a wnelo dyn o honi yn ei gosod hi yn annheilwng o'n hymddiried wed'yn. Y mae yr eglwys hon yn bur yn ei holl egwyddorion, yn ol ewyllys y Duw a'i pïa—y mae cyfiawnder a thrugaredd, gwirionedd a chariad yn llaw law ynddi. Y mae rhyddid i wneyd, ïe, *cymhelliad* i bob rhinwedd a daioni: ac nid i ddim ond ag sydd yn ol ewyllys Duw, onide ni wyddom

ni ddim am dano. Ac os oes yn rhyw le, mewn rhyw fodd yn yr eglwys hon, unrhyw egwyddor, na dim, yn cael ei ddysgu, ïe, na'i *oddef* ychwaith, yn groes i ewyllys y nef—yn groes i burdeb a santeiddrwydd—yn wrthdarawiadol i les dyn na gogoniant Duw, *yma* nac yn *Seion*, dymunem ei gael allan pa beth yw? pa le y mae? Os nad oes, yna Saint anwyl, awn yn mlaen yn selog, yn hyderus a ffyddlawn, yn y cyflawniad o'n holl ddyledswyddau. Byddwn fyw yn mhob peth fel y gweddai i rai yn proffesu duwioldeb, canys felly *yn unig* y mwynhawn yr Ysbryd Glân. Yn mhlith y drygau ereill ag sydd yn y byd yn arferiad, ac yn niweidiol i'r Saint a'i gwna, crefwn eich sylw at y sylwadau canlynol ar

### FEDDWDOD A'I EFFEITHIAU!

Amrywiol yw y deongliadau a geir ar y gair *meddwdod*. Nid yw rhai yn foddlawn cyfaddef eu bod yn feddw tra y gallant gerdded yn gymhwys, ac ereill nad ydynt yn feddw tra y gallant gerdded oll. Rhai a haerant nad y'nt feddw tra y gallant siarad yn eglur: ereill nad meddw tra y siaradant oll. Creda rhai nad yw dyn yn feddw hyd nes y gorwedda ar ei gefn yn y ffos, gan grafangu ar i fyny am y ddaear! Eithr pe caniateid i ni ddeongli *meddwdod*, dywedwn fod pob un yn feddw i'r graddau ag y bo y ddiod feddwol wedi effeithio ar ei deimladau, ei feddwl, neu mewn un modd ar ei gyfansoddiad. Ffolineb i ddyn yw dweyd nad yw yn bwriadu meddwi tra yn yfed yr hyn beth ag y gŵyr yn dda ddigon, mai ei effeithiau anwahanol yw creu meddwdod ar bawb a'i hyfo. Yr unig ffaith a brofa nad yw dyn yn amcanu meddwi, yw ei fod yn *peidio yfed meddwdod*. Yr hwn a feddwa sydd yn pechu yn erbyn Duw—yn erbyn ei frodyr eglwysig, os bydd ganddo rai—yn erbyn ei deulu, os medda un—yn erbyn ei gyd-ddyn, drwy ei esiamplau—yn erbyn ei gorff ei hun, trwy ei niweidio mewn llawer modd; ac yn enwedig, os byth y gwelid un o'r Saint yn y ffos hon, ystyriwn ei fod yn hyny yn bechadur mawr, ac yn gofyn edifeirwch dwys, ac mor gyhoeddus o leiaf â chyhoeddusrwydd ei drosedd hyd y gallo. Frodyr, y mae yr hwn a feddwa, yn tristâu Ysbryd Glân Duw oddiwrtho, i'r graddau y meddwa. Truenus fydd tynghed y truan a ddigia hwnw oddiwrtho nes y dywed Duw, "Gad iddo." Os byth y ceir yn ol, ni fydd heb edifeirwch dwys a phwysig. Ystyriwn hyn,

ynte, tra y mae Ysbryd Duw yn ein meddiant. Purwr a glanhawr yw efe; ammheus yw a ddilyna efe i gyfeillach y meddwon, oddieithr fod galwad cyfreithlawn ac anhebgorol.

Saint hynaws, gwyddoch mai temlau i Ysbryd Duw breswylio ydyw eich temlau chwi. Cofiwn, "os haloga neb deml Dduw, Duw a haloga hwnw." Byddwn lân, pur, megys y mae Efe yn bur, a santaidd ein hymarweddiad; canys ni chaniata cyfiawnder Duw i'r meddwyn, na'r celwyddwr, y godinebwr, yr anghyfiawn, na'r drygionus ddyn, i fyned i mewn i'w deyrnas nefol; a sicr y'm na chaniata dyscyblaeth ei eglwys ddaearol i neb o'r meddwon anedifeiriol, fwy na'r lleill a enwyd, na dim drwg, gael aelodiaeth, llawer llai swydd ynddi yn hir.

*Newcastle St., Merthyr.* D. JONES.

---

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 339.]

Y DIAFOL a'i angylion, gan fod wedi fforffetu, yn eu hystad gyntaf, bob hawl i fyned i ail ystad gyda chyrff o gnawd ac esgyrn, a chan fod wedi colli y fraint o briodi ac amlhau eu rhywiogaethau, ydynt faleisus ddrwg a chenfigenllyd tuag at y meibion dynion a gadwasant eu hystad gyntaf ac sydd yn awr yn y mwynhad o'r ail, yn ymbriodi ac yn lliosogi eu teuluoedd neu eu teyrnasoedd. Mae yr arch dwyllwyr hyn yn gwybod yn eithaf da am y bendithion a gollasant, a'r rhai y gwelant hwy ddynolryw yn y mwynhad o honynt, sef, y bendithion o wragedd a phlant. Pe gallent hwy dwyllo dynolryw a'u gwahardd i briodi, gwnai hyny foddhau eu dialedd uffernol yn fawr; canys gwyddant y collai pawb felly eu gogoniant addawedig, gan gael eu gadael heb wraig na phlant fel eu hunain, ac heb unrhyw ffordd bosibl i deyrnasu ar hiliogaeth byth gynnyddol.

Y diafliaid, gan fod yn wybodus o'r dinystr tragywyddol a ddeua o anghenrhaid ar ddynolryw, pe gallid eu perswadio i ddileu priodas, a ddefnyddiasant bob dyfais dwyllodrus, er cyflawni eu bwriadau drygionus. Pan na allent lwyddo mewn un ffordd, hwy a dreient un arall; os na allent berswadio yr holl eglwys i roi heibio yr arferiad o briodi, yna hwy a dreient eu ysgîl ar yr offeiriadaeth wrthgiliedig, gan ymdrechu eu gorfodi hwy i fyw bywyd o weddwdod. Y di-

afliaid yn fuan a lwyddasant i gael cyfreithiau wedi eu gwneuthur, er gwahardd yr offeiriaid i ymbriodi. Adeiladwyd gwyryf-dai hefyd, yn mha rai y caethiwid benywod drwy eu hees, ac felly yn cael eu lluddias rhag cyflawni y gorchymyn mawr cyntaf i amlhau eu rhywiau. Y gwrthddrych mawr nesaf gan y Diafol oedd, uno yr Eglwys wrthgiliedig a'i hoffeiriadaeth, â'r awdurdod gwladol; efe a gwblhaodd hyn yn fuan. Cafodd ei hun yn awr wedi ymarfogi â rhwyddineb deublyg. Yr hyn na allai efe gwbl gyflawni trwy y llysoedd eglwysig, a allai yn awr gyflawni trwy gyfreithiau yr awdurdodau gwladol. Yr oedd eisoes wedi llwyddo i ddileu priodas yn mysg offeiriaid a lleianod, a'r cam nesaf oedd gwahardd amledd o wragedd—y gosodiad dwyfol hwnw, ag a fu, yn mhob oes flaenorol o'r byd, mor llwyddiannus yn mhlith santaidd Batriarchiaid, Prophwydi, a chyfiawnion, er dirfawr liosogi pobl Dduw, a'u gwasgaru ar led fel y tywod ar làn y môr. Pe gallasai efe berswadio yr awdurdodau eglwysig a gwladol i unol ymosod ar y gosodiad dwyfol hwn, a'i lwyr ddileu yn yr Eglwys a'r Wladwriaeth, gwnai hyny fawr foddloni ei deimladau dialgar; canys yr oedd yn adgofio yn dda pa faint o niwed a wnaeth Abraham, Jacob, Moses, Gideon, Elkanah, Dafydd, ac amryw Amlwreigwyr ereill, i'w deyrnas. Yr oedd Duw wedi hysbysu ei hun yn Dduw Abraham, Duw Isaac, a Duw Jacob, ac wedi addaw bendithio plant eu gwragedd lliosog a'u hamlhau fel llwch y ddaear. Ac yr oedd Crist hefyd, y gelyn penaf a feddai y Diafol, yn cael ei foddhau gymmaint yn y gosodiad dwyfol hwn, fel ag y dewisodd ddyfod i'r byd trwy linach cyfres faith o Aml-wreigwyr Iuddewig a Phatriarchaidd. Meddyliodd y diafol, gan hyny, roddi lle i'w genfigen tuag at y drefn santaidd hon, ac os byddai bosibl ei llwyr ddileu oddiar y ddaear. Trwy ddylanwad y byd Cristionogol gwrthgiliedig, mae amryw genedloedd wedi eu perswadio i gynnorthwyo y Diafol yn ei ryfel maleisus yn erbyn y gyfundraeth ddwyfol hon; maent wedi gwneyd cyfreithiau i'w gwahardd yn eu plith. Felly y cafodd y drefn hono o amledd, trwy yr hon y sylfaenwyd deuddeg llwyth Israel, ac oddiwrth ba rai y daeth y Messiah, yn ol y cnawd; y drefn hono ag a amlhäai yr had etholedig fel sêr y nefoedd, ac yn mha un y bendithir yr holl genedloedd; y drefn hono trwy ba un y gallai y marw diblant gael bytholi ei enw trwy genedlaethau diddiwedd: y drefn santaidd a dwyfol hono, ïe, felly y cafodd ei

dymchwelyd a'i diddymu gan gyfreithiau dynol a chan awdurdod ddynol. Gwrided y gwrthgiliedig fyd Cristionogol o herwydd ei weithredoedd cyssegr-ladradol! Cywilyddied o herwydd ei gyfreithiau cul, cyfyngedig, a dall bleidiol!

Os yw amledd gwragedd yn osodiad dwyfol, paham na wnaeth yr Arglwydd fwy nag un fenyw i Adda? Oblegid fod un yn ddigonol iddo er dechreu y gwaith o boblogi y greadigaeth hon. Mae yr Arglwydd yn gyffredin yn cyflawni ei waith trwy gyfreithiau arfaethol a sefydlog. Cyfraith cenedliad yw y dull sefydledig trwy ba un y mae y gwrrywod a'r benywod wedi cael eu corffoli allan o'r pridd, yn ystod y chwech mil blwyddi diweddaf. Cyn y gallai y gyfraith hon gymmeryd effaith, yr oedd yn anghenrheidiol i gyrff anfarwol y pâr cyntaf gael eu llunio mewn modd gwahanol i eiddo cyrff marwol eu hiliogaeth. Gan fod y pâr cyntaf wedi eu llunio trwy offerynoldeb uniongyrchol yr Hollalluog, gallai pawb ereill gael eu llunio trwy gyfreithiau cyffredinol a sefydlog cenedliad.

Yr oedd gallu gan Dduw i lunio holl drigolion y ddaear yn yr un modd ag y gwnaeth y pâr cyntaf, eithr ei ddoethineb a drefnodd eu ffurfiad trwy gyfraith arall. Yr oedd gallu ganddo i lunio nifer fawr o fenywod i Adda, eithr ei ddoethineb a drefnodd ffurfiad un yn unig fel yn ddigonol i ddechreu y gwaith mawr o liosogiad y rhywiogaethau dynol.

Eithr ai nid yw yr Iesu, pan yn cyfeirio at undeb Adda ac Efa, yn un cnawd, yn trosglwyddo y meddylddrych nad oedd un gwr i gael mwy nag un wraig? Nac yw; yr oedd yr Iesu yn llefaru am y genedl Iuddewig, y rhai oeddynt yn arferol o roddi llythyron ysgar, a rhoi eu gwragedd ymaith; yr oedd ef yn dangos iddynt fod Moses yn goddef i'r cyfryw lythyron gael eu rhoddi, o herwydd caledwch eu calonau; "eithr o'r dechreu nid felly yr oedd." Efe a ddywedodd wrthynt ei fod yn anghyfreithlawn iddynt ollwng eu gwragedd ymaith, oddieithr o achos godineb. Efe "a ddywedodd wrthynt, Oni ddarllenasoch i'r hwn a'u gwnaeth o'r dechreu, eu gwneuthur hwy yn wrryw a benyw? Ac efe a ddywedodd, Oblegid hyn y gâd dyn dad a mam, ac y glyn wrth ei wraig; a'r ddau fyddant yn un cnawd. O herwydd paham, nid ydynt mwy yn ddau, ond yn un cnawd. Y peth gan hyny a gyssylltodd Duw, nac ysgared dyn" (Mathew xix, 4, 6). Mae yr Iesu yma yn amddiffyn dwyfoldeb a pharhad y cyfam-

mod priodasol. Dangosa nad yw y gwr a'r wraig mwyach yn ddau, eithr yn un cnawd. Pa beth ydym yn ddeall wrth fod dau yn dyfod yn un cnawd? A yw yn golygu fod y gwrryw a'r fenyw yn colli eu hunanoliaeth fel personau? Dim mewn un modd. Ni ddygwyddodd amgylchiad felly yn un oes o'r byd. A yw yn golygu eu bod yn dyfod yn un yn unig yn eu drychfeddyliau, serchiadau, a'u meddwl? Nac yw; dweyd y mae y byddant yn un cnawd: sylwch ar y dywediad, "*un cnawd*," nid un meddwl. Ond pa fodd y gall hyn fod yn bosibl? Ateb; Trwy gyfammod cyssegredig priodas, mae y wraig yn rhoddi ei hun yn rhydd a gwirfoddol i'r gwr; nid yw hi mwyach yn eiddo iddi ei hun, ac ni pherthyna i'w rhieni, nac i neb arall; mae hi wedi rhoddi ei hun yn gyfangwbl i'w gwr; hi yw ei amgeledd cymhwys; ei eiddo; ei gnawd, yn gymmaint ag yw cnawd ei gorff ei hun yn eiddo iddo ef: am hyny y dywed Paul, " Felly y dylai y gwyr garu eu gwragedd, megys eu cyrff eu hunain. Yr hwn a garo ei wraig, sydd yn ei garu ei hun. Canys ni chasâodd neb ei gnawd ei hun; eithr ei fagu a'i feithrin" (Eph. v, 28, 29). Er ei bod hi etto yn cadw ei hunaniaeth fel person ar ben ei hun, etto i arall y perthyna, ac nid iddi ei hunan; hi yw ei "gnawd a'i esgyrn ef." Mae yr hwn, gan hyny, a ysgara ei gnawd a'i esgyrn ei hun, "ond o achos godineb, yn peri iddi wneuthur godineb; a phwy bynag a brioda yr hon a ysgarwyd, y mae efe yn gwneuthur godineb" (Mathew v, 32). Yn awr, y gwr ag a achosa i'w wraig ei hun, yr hon trwy briodas yw ei gnawd ei hun, i gyflawni godineb, a ystyrir yn odinebwr ei hun, ac a fernir ac a gondemnir gyda'r godinebwyr; canys ynddo ef y mae'r pechod mwyaf, oblegid iddo orfodi ei gnawd ei hun i gyflawni godineb, trwy ei gollwng hi ymaith. A phe priodai, ar ol ei gollwng hi ymaith, hyny fyddai ychwanegu pechod at bechod; canys, ar ol gorfodi ei wraig i gyflawni godineb, mae yn ddiau y byddai efe yn awr yn cyflawni godineb ei hun. Am hyny y dywed yr Iesu, "Pwy bynag a ysgaro â'i wraig, ond am odineb, ac a briodo un arall, y mae efe yn tori priodas" (Mathew xix, 9). Felly gwelir, fod y gwr a ysgaro â'i wraig yn anghyfreithlawn, er y gall efe aros heb briodi, yn cyflawni pechod cyfartal i eiddo godineb, o herwydd y mae "*yn peri iddi wneuthur godineb*;" ac os prioda efe tra yn y trosedd mawr hwn, efe, wrth gwrs, a briodai yn groes i ewyllys Duw; gan hyny, ni fyddai gan Dduw ddim a wnelai â'i

gyssylltu ef ag arall; o ganlyniad ei briodas, heb fod o apwyntiad dwyfol, a ystyrid yn anghyfreithlawn, ac o ganlyniad yn odinebus, fel pob priodas arall lle nad yw awdurdod Duw yn cael ei gydnabod.

(*I'w barhau.*)

---

## SYLWADAU AR DDYN.

Yn mhlith gwahanol greadigaethau Duw, nid oes dim yn ddiweddar wedi tynu fy sylw yn fwy neillduol nâ chyfansoddiad y corff dynol, ynghyd â'r nwydau neu'r tueddiadau perthynol iddo. Y mae doethineb y Duw mawr i'w weled yn nghreadigaeth dyn, yn ardderchog tu hwnt i fesur. Y mae gosodiad y gwahanol ranau a'r aelodau ag sydd yn gwneyd i fyny ei gorff, i'w canfod mor drefnus ac mor anhebgorol angheurheidiol er dedwyddwch dyn a gogoniant Duw, fel ag y mae yn hawdd i hyd y nod y gwanaf ei amgyffrediadau i ddeall fod gwir angheurheidrwydd am danynt. Y fath gywreinrwydd sydd i'w ganfod yn ngwaith y Peiriannydd dwyfol yn dyrchafu y corff uwchlaw rhodfeydd yr abwydyn, a'i osod ar golofnau symudol, y rhai a'i cluda o'r naill fan i'r llall, i edrych ar wahanol wrthrychau, ac i wybod helyntion y byd, yn ol ei ewyllys ei hunan. Hefyd, y traed, y rhai'n sydd megys isel-feini, ac wedi eu hanrhegu ag arfogaeth o gyrn er eu hamddiffyn yn ei deithiau beunyddiol. Y breichiau a'r dwylaw, mor ddefnyddiol y maent er cyflawni y perwyl gogoneddus oedd gan y Creawdwr mewn golwg, sef llafurio y ddaear, &c. Y ffroen i dderbyn aroglau blodau a phêr-lysiau y maes; y genau i ymhyfrydi yn archwaeth aeron melysion y wlad; y glust i wrandaw lleferydd ei Iôr; a'r tafod i ddadsain ei foliant. Y llygad drachefn, yr hwn a gorona y cyfan—mor ogoneddus ei oruchwyliaeth, mor angheurheidiol ei wasanaeth: efe a edrycha dros yr holl adeilad—efe a'i hysbysa pan fyddo peryglon o'i gylch, ac a ddangosa iddo noddfa fel y rhedo rhagddynt: efe hefyd a'i hysbysa pan fyddo anghen am lanhau y corff, a'i osod yn drefnus yr olwg mewn cymdeithas, a thrwyddo ef y galluogir dyn i edrych ar holl ryfeddodau ac ardderchawgrwydd y greadigaeth. Yn wir, gallwn ddweyd gyda'r apostol Paul, "Yr aelodau a ystyriwn wanaf yn y corff ydynt angheurheidiol" (Cor. xii, 22).

Etto, nid llai gogoneddus yn eu gosodiad ydynt y nwydau neu y tueddiadau perthynol iddo. Credaf fod pob nwyd neu duedd ag sydd mewn dyn yn anhebgorol angenrheidiol er dedwyddwch dyn a gogoniant Duw; ac hebddynt nas gallasid dwyn oddiamgylch fwriadau Duw. Ond, meddai rhywun, yr ydym yn deall fod mewn dyn dueddiadau i chwennych aur ac arian ei gymmydog, ei dir, ei dai, a'i anifeiliaid, &c.; ac megys yn benaf o bob peth, gwelir ef aml bryd megys am luchwino ei wely priodasol. Gwelir dynion drachefn yn casâu ac yn cenfigenu wrth eu gilydd, ac yn aml ni orphena y gyflafan hyd oni thywalltant waed. Ac a ydyw yn bosibl fod tueddiadau o'r fath yma yn anhebgorol angenrheidiol, er dedwyddwch dyn a gogoniant Duw? I hyn yr atebaf fel y canlyn:—Y mae y priodoleddau hyn wedi eu gosod ynddo er ei gynhyrfu i weithredu mewn achosion cyfreithlawn, fel y derbynio Duw ei ogoniant bwriadol oddiwrtho. Ac y mae pob dyn wedi ei fendithio gan Dduw, i raddau mwy neu lai, â goleuni cynnyddol yn ei ddyfodiad i'r byd (Ioan i, 9), yr hwn a'i galluoga i iawn farnu pa bryd, ac yn mha le, y mae yn gyfreithlawn iddo ymollwng i'w nwydau. Oddiwrth hyn, gallwn ddeall fod dyn yn oruchwyliwr drosto ei hun, ac o ganlyniad i lywodraethu ei nwydau, ac nid ei nwydau i'w lywodraethu ef; oblegid, pan yn y sefyllfa druenus yma, y mae dyn lawer pryd wedi defnyddio y galluoedd a gafodd er cyflawni bwriadau Duw, i filwrio yn ei erbyn. Awgryma yr apostol Iago fod y tafod wedi ei roddi er moliannu Duw, ond ei fod yn aml yn cael ei ddefnyddio er ei felldithio. Mae yn wir fod tuedd mewn dyn i chwennych tir a thai, gwisgoedd ac anifeiliaid, a golud o bob math; ond y mae goleuni rheswm yn ei ddysgu na ddylai amddifadu ei gymmydog o'i eiddo, eithr i lafurio yn ddyfal â'i ddwylaw ei hun, hyd oni ddelo yn feddiannol ar olud ei hunan. Hefyd, y mae dyn, megys pob creadur arall, a thuedd ynddo i chwennych ei ryw; ond dylai fod yn ofalus yn hyn etto, na fydd iddo ormesu ar iawnderau ei gymmydog mewn un dull na modd; oblegid byddai i'w gydwybod, pe gwnelai hyny, ei gondemnio; ond dylai ddysgwyl wrth Dduw am gymhares, a'i hystyried megys y penaf o roddion y nef. Y mae Duw yn casâu ac yn digio, ac y mae yn dysgwyl i ninnau wneyd hyny hefyd. Nid casâu ein gilydd, bid siwr, eithr casâu yr hyn sydd ddrwg ac atgas yn ngolwg yr Arglwydd.

Yn awr, ni a welwn, pe byddai dyn heb fod yn feddiannol ar y priodoledau hyn, y byddai yn anmbosibl iddo gael ei gynhyrfu i gyflawni bwriadau Duw, sef llafurio y ddaear, amlhau ei rywiogaeth, a phoblogi y byd; ffieiddio y drwg, a chilio oddiwrtho. Gwelwn mai trwy effaith yr un nwydau y mae dyn lawer tro wedi troseddu yn erbyn Duw, ag y mae y pryd arall wedi rhyngu ei fodd ef. Mae ynom hefyd duedd i garu, yr hon sydd fel y lleill o'r tueddiadau, yn anhebgorol anghenrheidiol er ein huno â'n gilydd, ac er cynnorthwyo ein gilydd o dan wahanol amgylchiadau: ac etto, pe byddai i ni ymollwng yn hollol dan lywodraeth hon, megys y lleill o'r nwydau, byddai yn bosibl i ni gael ein niweidio, gan nad oes dim dealltwriaeth yn y nwydau. Byddai iddi ein cynhyrfu i garu y drwg, pan y mae Duw yn ein hannog i gilio oddiwrtho. Dyweda Paul nad yw yn meddwl yn ddrwg, eithr meddylia yn dda am bob peth.

Gwelwn bellach, yr anghenrheidrwydd sydd arnom o iawn adnabod ein hunain, adnabod Duw, a deall ei gyfreithiau a'i fwriadau, ac i ofalu bob amser fod ein holl ysgogiadau yn gyfryw ag a fyddont yn gymmeradwy yn ngolwg Duw. Wrth edrych ar y gwrthddrych gogoneddus yma o eiddo y Jehofah bendigedig, sef dyn, ynghyd â myfyrio ar y dybenion mawreddog oedd ganddo mewn golwg pan yn ei greu, teimlaf i ddywedyd yn ngeiriau ei hen was gynt, "Mawr a rhyfeddol yw dy weithredoedd di, O Dduw; ac am dy ddaioni y'th fythol glodforaf."

*Merthyr-Tydfil.* JOHN REYNOLDS, *Ieu.*

---

## Y LLYWYDD D. JONES AT GYNNADLEDD DDWYREINIOL MORGANWG.

DYMUNIR hysbysu y cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr, ar ddydd Sul, y 26ain o Fehefin.

Erfynir ar Lywyddion cangenau, hyd y byddo yn bosibl, ymgyfarfod yn y lle uchod yr hwyr blaenorol, er cyd-drefnu mesurau perthynol i'r gynnadledd. Hefyd, dymunir arnynt gyflwyno i'r pwyllgor cyffredinol y pryd hyny, gynnrychioliad o bob peth a berthyna i'r cyssylltiad sydd rhwng eu cangenau â'r pwyllgor. Gan fod y cyfnod hwn yn terfynu y cynnrychioliad hanner

blynyddol, a chan fod y Brif-lywyddiaeth Brydeinig yn dysgwyl deall drwyddi, ansawdd y gynnadledd yn drwyadl, gobeithio nad esgeulusa y Llywyddion eu dyledswydd i gyflwyno i ninnau yr unrhyw mor gywir ag y bo modd. Na chynnrychioler neb swyddwr nac aelod mewn cyflawn gymdeithas, oddieithr eu bod hwy yn gwybod eu bod yn deilwng o hyny. Os oes rhywun wedi ymadael o unrhyw gangen heb lythyr gollyngdod, neu os na ddeallir pa le y mae,—os oedd yn wybodus fod ei fuchedd yn ei annheilyngu o aelodiaeth cyn myned,—ysgymuner ef cyn y cynnrychioliad. Os nad oedd yn anfoesol cyn myned, cynnrychioler y cyfryw dan yr enw "*gwasgaredig*." Dymunol fyddai i bawb gynnrychioli yn ol y drefn a ganlyn:—Enw y gangen, archoffeiriaid, henuriaid, offeiriaid, athrawon, diaconiaid, ysgymunwyd, bu farw, ymfudodd, bedyddiwyd, gollyngwyd, derbyniwyd, gwasgaredig, a chyfanrif.

Gofaler fod y swyddwyr a phawb yn gynnwysedig yn y cyfanrif. Ystyrir fod yr hwn a gaffo lythyr o ollyngiad i fan arall, mewn cyfrifoldeb i'r gangen a roddes y llythyr iddo, hyd nes yr ymuna ag un arall. Os esgeulusa ymuno, galwed brawdlys y gangen hono ef i gyfrif, ac ymddyged ato yn ol rheolau dyscyblaethol yr eglwys, fel pe na roddasai y llythyr iddo; canys trwy ei esgeulusdod, fforffetiodd ei hawl, yn ol ammodau y trosglwyddiad. Os dealla unrhyw lywydd neu aelod am ryw un yn eu cymmydogaeth, a broffesa fod yn aelod eglwysig, ac heb ymuno â hwynt, dylent ymdrechu eu goreu i'w adferyd i undeb â hwy, drwy anfon i'r gangen a adawodd am lythyr rhyddhaol oddiyno. Os methant lwyddo i'w adferyd, ysgrifenant eu tystiolaeth o barthed iddo i Lywydd y gangen lle y bu ddiweddaf, a hysbysant yntau o hyny, fel, os dymuna, y caiff gyfleu i amddiffyn ei hun; oni ddaw, dyscybled y cynghor ef yn ol ei drosedd. Gofaler fod "*Llyfr yr Eglwys*" yn dangos wrth eu henwau yr un fath â llyfr y cynghor. Nac esgeuluser cofnodi yno y ddyscyblaeth a roddir ar bob person. Erfynir hefyd gyfrifon manwl o'r derbyniadau a'r taliadau perthynol i'r "Gymdeithas Ymfudol," a phob cyfraniadau a berthyna i'r gynnadledd.

Os diswyddwyd unrhyw swyddwr, cynnrychioler ef yn mhlith yr aelodau; canys y cyfryw ydyw, ac a fydd, oddieithr ei gynnysgaethu ef â swydd wedi hyny.

Frodyr llywyddol, caniatewch alw eich sylw difrifolaf at ddau

beth perthynol i'r uchod; sef, yn gyntaf, eich cyfrifoldeb, os yn wybodus yr ysgymunir neb yn anhaeddiannol o'ch heglwys. Yn nesaf, eich cyfrifoldeb hefyd os *trugaredd* yn *unig* fydd eich arwyddair ar gost *cyfiawnder*. Pa fodd nad ydych yn gyfranog o'r gwarth a achosa, a'r drwg a wna, esgeulusdod o ddyscyblaeth, pan ei teilyngir? Cofiwn mai nid ein heglwys ni, eithr eglwys Dduw, yw yr hon ag yr ymddiriedwyd i ni ei dyscyblaeth; ac o ganlyniad, nid ein teimladau, ond *cyfiawnder* o bob tu hyd y bo ynom, a ddylai benderfynu tynghed pob un. Os na ymdrecha dyn fyw yn dduwiol, ni ddylai fod iddo enw yn ein plith ddim hwy nag y profa ei weithredoedd hyny. Oediad *gormodol* yn fynych a ddyga fwy o ystaen ar ein crefydd nag a olcha efe na chwithau ymaith yn fuan, efallai. Gwneler pob peth yn "weddaidd ac mewn trefn," mewn cyfiawnder a doethineb, a gweddiwn am fendith ein Duw arno.

D. JONES.

---

## CORFF YSBRYDOL.

ANWYL FRAWD JONES,—Dymunaf arnoch i roddi ychydig o oleuni i mi trwy gyfrwng yr UDGORN, mewn perthynas i gorff ysbrydol. Gwelais sylwadau O. Pratt yn yr UDGORN, cyf. v, tud. 332, fel y canlyn:—"Bodau syrthiedig a genedlant blant, cyrff pa rai a gyfansoddir o gnawd ac esgyrn, gan gael eu ffurfio allan o'r gwaed a gylchreda yn ngwythienau eu rhieni. Bodau nefol a genedlant blant cyfansoddedig o'r hylif pa un a gylchreda yn eu gwythienau, yr hwn sydd ysbrydol; gan hyny rhaid i'w plant fod yn ysbrydol, ac nid cnawd ac esgryn." Hefyd, eich sylwadau chwithau yn yr "Eurgrawn," tud. 29:—"'Anianol'—cynnwysedig o gig a gwaed: 'Ysbrydol'—cynnwysedig o gnawd ac esgryn." Yn awr, y gofyniad yw, a oes "cyrff o gnawd ac esgyrn" gyda'r duwiau? Os oes, a ydynt hwy yn cenedlu plant yn wahanol iddynt eu hunain, yn groes fel y mae cenedlu ar y ddaear? Gobeithiaf y gwnewch sylwadau byr ar hyn.—H. B.

### ATEB I'R UCHOD.

Ni wyddom am un ffordd i oleuo H. B. yn well nâ'i gyfeirio at y manau hyny ein cyfeiria ni; darllened etto yn feddylgar, a chredwn y rhaid iddo gael ei lwyr foddloni. Hefyd darllened

1 Cor. xv, 40, a'n sylwadau arni yn yr "Eurgrawn," tud. 28. Ychwanegwn, rhag ofn fod H. B. yn cam-ddeall ystyr y "bodau syrthiedig," nid ysbrydion neu angylion syrthiedig a feddylia Mr. Pratt yn y fan a nodwyd, ond yr hîl ddynol; y cyntaf nid eppiliant oll, yr olaf a genedlant eu rhyw eu hunain. Y "cyrff nefol" a genedlant fodau ysbrydol, fel y dyweda Pratt yn eglur.

D. JONES.

---

## DECHREU CYFROL ARALL O'R "UDGORN."

WRTH ystyried y byddai 52 o rifynau wythnosol yn ormod o un gyfrol o'r UDGORN, barnasom mai doethineb fyddai eu gwneyd yn ddwy, gan orphen yr un bresennol ar y 25ain o'r mis hwn, a dechreu y llall ar yr ail o Orphenaf. Buasem wedi hysbysu hyn yn gynt, oni bai i ni fod ar daith trwy y Gogledd. Bwriadwn ddechreu y gyfrol nesaf â llythyren newydd, yr hon a fydd yn rhwyddach i bawb ei darllen, er na chadwa fwy o le nâ'r lythyren bresennol. Erfyniwn ar yr holl Ddosparthwyr a'r Llywyddion i roddi gwybod i ni pa nifer o rifynau a gymmerant o'r gyfrol nesaf, erbyn y 25ain o'r mis hwn, o bellaf. Os bydd rhywrai heb roddi gwybodaeth erbyn hyny, danfonir yr un nifer iddynt ag a ddanfonir yn bresennol, dan ystyriaeth eu bod yn ymrwymo i gymmeryd yr un nifer hyd ddiwedd y flwyddyn. Os dygwydd i'r cylchrediad fyned yn llai, mae perygl i bris yr UDGORN fyned yn fwy; ac annogwn bawb i gadw hyny mewn golwg, a chofio fod yn well cael 30 o rifynau am geiniog yr un, nag 20 am geiniog a dimai yr un. Gobeithiwn nad oes gwaith annog y Saint i wneuthur eu goreu, gan yr ystyriwn y dylai fod llwyddiant yr Eglwys y perthynant iddi yn agos iawn at eu calonau. Gyda llaw, gallwn addaw y cynnwysa y gyfrol nesaf etto, lawer o ysgrifeniadau gwerthfawr iawn, y rhai a barant lawenydd i bawb a garant lwyddiant Seion.

---

## GWAHODDIAD I'R SAINT I SEION.

TÔN—" Y ddau geiliog wydd."

GWRANDEWCH, Formoniaid, wyr dewr diniwed;
Rhowch glust, gwrandewch yn llon,

A dewch yn ebrwydd, 'nol gair yr Arglwydd
I maes o Babilon,
Tua'r wlad hyfryd sydd mewn addewid,
I bawb o deulu'r ffydd;
Y sawl a gredo, ac a ufyddhao,
Yn wir gadwedig fydd;
Cant etifeddu'r fraint
A thrigo 'n mhlith y Saint,
Lle bydd yr Iesu yn teyrnasu,
Dros fil o flwyddi maith,
Yn mhlith prophwydi ac apostolion,
A phatriarchiaid llon,
Ac Abra'm ffyddlon, a Sarah siriol
Yn trigo ger eu bron.
Yn mhlith y dyrfa hardd,
Bydd Dafydd yr hen fardd,
A Moses lariaidd, ac Aaron fwynaidd,
Ac Adda fu'n yr ardd;
A'r hen Simeon, gynt a fendithiodd
Yr Iesu 'n faban gwan;
A Daniel ddawnus fydd yn gysurus
Yn sefyll yn ei ran.

Dyma y gareg a welodd Daniel
Yn myned rhag ei blaen;
Mae hon yn dryllio ac yn malurio
'R holl ddelwau 'n fawr a mân:
Yr hen esboniadau o eiddo'r tadau,
A'r traddodiadau gynt,
Maent yn diflanu fel tarth yn codi,
O flaen y dwyfol wynt.
Yn mlaen mae rhedfa hon,
Nes llanwo'r byd o'r bron:
Fe ddaw'r cenedloedd, oll sydd yn ffyddlon
Cyn hir i dderbyn hon;
A'r hen Iuddewon, hwy dd'ont yn lluoedd
I gredu 'n ngwir Fab Duw,
Pan y gwelont ei fawr archollion,
A gwedd ei ystlys friw:
Pryd hyn bydd tyrfa lon
Yn moli ger ei fron,
Heb un genfigen, na llid, na digter,
Na brad o dan un fron;
Ond pawb mewn cariad a chyd-weithrediad
Yn moli'r Iesu'n llon,
Am iddo'u tynu a'u llwyr waredu
O bläau Babilon.

*Rymni.* WILLIAM CHARLES.

## AMRYWIAETHAU, &c.

O'R DYFFRYN.—Wedi hir ddysgwyl, mae cyflawnder o hanesion o'r Dyffryn wedi cyrhaedd Liverpool, ac hysbysant fod y Saint yn llwyddo yn mhob peth da, a'r cyfan yn myned yn mlaen yn hwylus.

ORSON PRATT.—Cyrhaeddodd yr Henuriad Orson Pratt y wlad hon, ar y 29ain o Fai, mewn iechyd da. Nis gwyddom ddim etto pa mor hir y bwriada aros, ond diau y bydd ei ddyfodiad yn wledd i lawer.

GWYLIO A GWEDDIO.—Tra yr oedd rhyw barchedig yn ddiweddar gyda'i deulu mewn cwrdd gweddi, torodd lladron i'w dŷ, gan ladrata ei wisgoedd goreu, oriawr aur ei wraig, arian, a phethau ereill, a gadawodd ar ei ol y wers hon yn ysgrifenedig ar bapyr, sef "Gwell gwylio nâ gweddio."

HYSBYSIR ni trwy lythyr oddiwrth yr Henuriad T. Jeremy, fod yr enwog Mr. Robert Parry (*Robyn Ddu*) wedi ei fedyddio yn ddiweddar yn Abertawy, a'i fod wedi ymrestru yn myddin y Saint.

---

TALIADAU O FEH. 3 HYD MEH. 9.—Cwmbach, £3 16s 1c; Aberamman, 4s; Hirwaen, 14s 9c; Rymni, 13s 4c; Georgetown, 10s 4c; Troedyrhiw, 4s,—Cyfanswm, £6 2s 6c.

AT Y LLYWYDDION, &c.—Bydded i'r Cynnrychioliad hannerblynyddol gael ei wneuthur i fyny ar y 30ain o'r mis hwn, a'i yru yn ddioed at y Llywydd W. S. Phillips, gan y dysgwylir yr unrhyw oddiwrtho yntau yn Liverpool yn mhen saith diwrnod ar ol y 30ain.—A bydded i drysorwyr y Drysorfa Ymfudol wneyd eu cyfrifon i fyny, a danfon eu cyfraniadau at y Llywydd W. S. Phillips yn uniongyrchol ar ol y laf o Orphenaf, gydag enwau y cangenau a'r symiau a gyfranwyd.

"Y CASGL."—Mae y Crynhoad hwn o Draethodau, Caniadau, Llythyron, yn awr ar werth, yn yr un fath rwymiad â Llyfr Mormon. Mae ei bris yn amrywio o 3s i 3s 6c, yn ol cynnwysiad y llyfr. Yn awr yw yr amser i sicrhau copiau o hono, gan mai dyma y Casgliad olaf o'n heiddo ni, ond odid.

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg, ar y 26ain o Fehefin; Sir Frycheiniog, ar y 3ydd o Orphenaf; Sir Fynwy, ar y 10fed; Abertawy, ar y 17eg; Llanelli, ar y 24ain; Caerfyrddin, ar y 31ain; Aberteifi, ar y 7fed o Awst; Gogledd Penfro, ar y 14eg; a Deau Penfro, ar y 21ain.

☞ Bydded i'n gohebwyr fod yn amyneddgar.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 25.] MEHEFIN 18, 1853. [CYF. V.

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

*A gynnaliwyd yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Fawr, yn dechreu Hydref 6, 1852, 10 yn y boreu,—y Llywydd Brigham Young yn llywyddu.*

[Parhad o dud. 155.]

AR y 7fed o Hydref, am 6 yn yr hwyr, corwmau y Degau-a-thrugain a ymgynnullasant yn y Tabernacl, ac a alwyd i drefn gan y Llywydd Joseph Young, pan y canwyd hymn. Gweddiwyd gan yr Henuriad Levi Hancock. Canwyd yr hymn, "Sweet is the work, my God, my King."

Gofynodd y Llywydd Joseph Young os oedd rhywun yn bresennol a allai hysbysu sefyllfa y brodyr ag oeddynt heb gyrhaedd o'r Taleithiau? Hysbysodd y brodyr fod cwmpeini y siwgr wedi colli pedwar ugain o anifeiliaid trwy ystorm mewn un noson; nid oedd gan lawer ddim blawd, ac yr oedd eu dyoddefiadau yn fawr, ac yr oedd y cwmpeini siwgr yn byw ar eu ychain rhewedig.

Sylwodd yr Henuriad Young—Mae llawer o bersonau ag ydynt wedi eu hordeinio yn Ddeg-a-thrugain, yn awyddus am wybod pa bryd y gallant gael eu rheoleiddio. Yr wyf yn dweyd yn awr, am iddynt ymofyn â Llywydd henaf unrhyw gorwm; ac os oes yno wag-leoedd i'w cael, elent iddynt, a llanwent hwynt. Yna efe a ddygodd gerbron bwnc Neuadd Gelfyddydol y Deg-a-thrugain, ynghylch pa un nid oedd dim wedi ei wneyd yn ystod

y deuddeg mis diweddaf, er fod ganddo yn awr yn ei feddiant felin lifio, yr hon oedd barod i weithio, ac i ddiwallu y neuadd â choed. Y mae baich yn bresennol ar fy ysgwyddau, ac yr wyf am wybod os yw y baich hwnw i gael ei gymmeryd ymaith. Medda y felin sydd genym gronfa naturiol ragorol, yr hyn a brofwyd gan lif-ddwr y gwanwyn diweddaf; a chan fod y llif yn gron, gwna lifio yn gyflym iawn; a gallem droi yr oll o Cottonwood Creek ar y droell, pe dymunem. Os ydych yn meddu ewyllys, fe all y crwndŷ gael ei adeiladu, a gellir ei doi erbyn yr hydref nesaf.

Zera Pulsipher a ofynodd—Pa faint a aberthasom ni pan yrwyd ni o Kirtland, neu o Missouri, neu o Nauvoo? Atebodd, bob tro lawer iawn mwy nag a elai i adeiladu y Neuadd Gelfyddydol.

Levi W. Hancock a sylwodd ar ddechreuad yr Eglwys. Pan nad oedd ond deg ar hugain o aelodau, gorchymynwyd iddynt adeiladu Teml 68 troedfedd wrth 95 troedfedd, a dau lawr o uchder; a phe cydweithiem, ni a allem adeiladu y Neuadd Gelfyddydol hona.

J. M. Grant—Mi a bleidleisais unwaith na chaniateid i neb ddyfod i'r cyfarfod os na ymddygai fel y dylai; ac nid wyf wedi galw hyny yn ol. Darfu i'r Degau-a-thrugain bleidleisio dros adeiladu Neuadd, ac y mae ganddynt hwy i gyflawni y cyfammod hwnw.—Nid yw Swyddfa y Degwm yn adwaen neb Llywyddiaeth, na Deuddeg, na Degau-a-thrugain, na Henuriaid, Offeiriaid, Athrawon, na Diaconiaid, eithr ymwneyd y mae â phersonau; ac yr ydym yn gweled y canlyniad—y mae yn adeiladu ei Thabernaclau, ei Chynghor-dai, ac adeiladau ereill pan fydd eisieu. Mae awydd wedi bod, ac yn bod, yn mhlith y Degau-a-thrugain i gael Neuadd i'r Degau-a-thrugain; a chwi a ellwch ei hadeiladu, eithr y mae yn gofyn am ddolars ac ergydion celyd, ac y mae eisieu pentwr i'w gario yn y blaen. Ac yr wyf fi yn gweddio ar yr Arglwydd i'ch cynnorthwyo i wneuthur eich dyledswydd.

B. L. Clapp—Yr wyf fi wedi fy chwipio am beidio byw yn y ddinas hon, a'm hunig esgus yw, nad wyf yn ddyn digon *smart* i fyw yn Ninas y Llyn Halen.

Joseph Young—Yr oeddwn i wedi llwyr gredu, ddwy flynedd yn ol, pe gadawsid fi a'm Cynghor a'r Degau-a-thrugain yn

llonydd, y buasem wedi adeiladu tŷ-cwrdd da o'r hen ffasiwn, wedi ei gyssegru, a buasem ynddo erbyn yr amser hyn. Mae dros 6,000 o ddolars wedi eu gwario eisoes ar y Neuadd hon, ac nid yw y llawr wedi ei gyfodi etto, o bedair troedfedd.

Nathan Tanner a gynnygiodd fod iddynt werthu y felin, a rhoi y Neuadd i fyny. Eiliwyd, eithr ni chariwyd.

John Pack a fu yn absennol am dair blynedd, ac a gafodd ei deulu, pan ddychwelodd, mewn dyled; eithr yr oedd yn foddlawn gwneuthur yr hyn oll a allai. Yna gadewch i ni adeiladu y Neuadd, a derbyn dysgeidiaeth ynddo.

Y Llywydd B. Young—Mi a ddymunais ar y brawd Tanner i wneyd y cynnygiad hwna. Nid yw dyn ag sydd heb fod yn ddigon *smart* i fyw yn y ddinas hon, yn addas i lywyddu ar y corff yma o bobl. Pan fyddo Duw yn galw dyn i lywyddu, mae yn rhoddi doethineb iddo i lywyddu ; felly pentyrwch y bai arnaf fi. Yr wyf am i chwi wybod i mi glywed yr hyn oll a lefarwyd y prydnawn hwn. Mi a apeliaf at bob un o'r Degau-a-thrugain ag oedd yn Nauvoo, pa un a oedd y Neuadd hono yn glod i'r Degau-a-thrugain ; cyfrifid hi felly yn New York, ac yn Lloegr. Myfi oedd cynlluniwr y Neuadd hona, ac y mae cywilydd arnaf o'i phlegid, gan ei bod yn rhy fychan. Er bod yn glod i'r corff yma o bobl, bydded iddynt adeiladu neuadd a gynnwysa 15,000 o bersonau; yr oedd y Degau-a-thrugain yn cynllunio yn Winter Quarters, er cael hoelion a gwydr at neuadd yn y mynyddoedd. Medda y corff yma o bobl y ragorfraint o adeiladu neuadd, a bydd yn perthyn i'r Eglwys. Nid oes arnaf yr ofn lleiaf o ymraniad yn yr Eglwys hon, canys mi a allaf eu troi hwynt fel yr ewyllysiwyf. (Amen.)—Mae sylfaen wedi ei gosod i adeiladu arni. Yna efe a lefarodd yn ganmoladwy am John D. Lee yn adeiladu y neuadd yn Nauvoo.—Ni a adeiladwn ein temlau a'n neuaddau celfyddydol ein hunain, canys yr Arglwydd a oddefodd i ni gael ein gyru fil o filltiroedd o unrhyw le, ac y mae genym i adeiladu drosom ein hunain. Mae fy synwyr da wedi fy nysgu i fod eisieu neuadd ar y Degau-a-thrugain ; ac yr wyf yn dywedyd, Ymdrechwch ar y deau ac ar yr aswy, o'r tu blaen ac o'r tu ol, a dangoswch pa beth a ellwch wneuthur.—Dymunaf ofyn i'r bobl hyn, os gwyddant yr athrawiaeth y buont yn ei dysgu? Pa beth sydd i'w wneuthur er parotoi y ddaear hon erbyn milflwyddiant? Mae gan Saint y Dyddiau Diweddaf

i'w wneuthur, onide hwy a symudir, a gosodir ereill yn eu lle. Ai ni ellwch chwi a minnau wneuthur dim heblaw fod Duw yn ei ofyn ar ein dwylaw, neu yn ei gymmeradwyo yn y nefoedd? Fe dderbyniodd Joseph gynllun y deml yn Kirtland, ac fe ddywedodd wrthyf fi, Pe gwnelai y bobl hyn fel y ceisir ganddynt, ni fuasai ond afreidiol i gael dadguddiad. Os byddwch chwi yn gybyddlyd a diog, dichon y cewch chwithau ddadguddiad o berthynas i'r neuadd hon. Y gewyn, yr asgwrn, a'r gwythi, yw yr unig feddiannau i adeiladu â hwynt, ac mewn gwirionedd nis gall meddiannau ereill fodoli. Dylai un rhan o dair o feddiannau y Saint fyned i ychwanegu harddwch y ddinas; eithr bydded iddynt eu trysori i fyny, a byddant yn bobl dlodion ac anghenus. Pe byddai yr adeilad dystadl hwn (sef y Tabernacl) yn awr yn ei sefyllfa gynhenid, ni fyddech chwi mor gyfoethog ag ydych heddyw. A ellwch chwi adeiladu y neuadd hono? Gellwch, mi a allaf ei hadeiladu fy hunan. Foneddigion, mae eich neuadd wedi ei dechreu; ac os oes rhywbeth i edifarhau yn ei gylch, o'm tu i, fod y neuadd yn rhy fychan ydyw; ac etto nis gellir ei baeddu yn America. Buasai yn addurn i unrhyw heol yn Llundain. Mi a allaf fyned a chrynhoi i fyny yn awr, y meddiannau a gollir mewn un flwyddyn ddyfodol, mewn ceffylau, ychen, &c., a buasai y meddiannau hyny yn ddigon er ei hadeiladu. Yn awr gwnewch eich hunain yn dlodion, ac yna dangoswch pa fodd y gwnewch eich hunain yn gyfoethog drachefn, a hyny ar egwyddorion rhesymol. Os oes arnoch eisieu neuadd, ewch ac adeiladwch hi. Nis gellwch gael dyn ag sydd wedi bod yma ddwy flynedd, nas gall gael ei fara a'i saws gerddi. Mae Mormoniaeth wedi gwneyd yr oll i mi, ac yr wyf yn diolch i Dduw yn wastadol am iddo ddanfon Joseph y prophwyd, i ddadguddio ei ewyllys. Yn awr gollyngwch allan eich gweddeuau, a danfonwch ddynion i weithio arni, hyd nes y bo wedi ei hadeiladu. Bydded i'r Arglwydd eich bendithio, frodyr. Amen.

Terfynwyd trwy weddi gan A. P. Rockwood.

*Hydref 8, dau o'r gloch.*—Agorwyd yn y ffordd arferol trwy ganu, gweddio, a chanu.

Yr Henuriad John Young a sylwodd—Tra yr oedd y Llywydd yn pregethu y boreu hwn, yr oeddwn yn myfyrio ac yn ymholi os oeddem yn gwerthfawrogi y bendithion a gyfranwyd i ni. Nid oes un bobl dan yr holl nefoedd yn cael eu bendithio fel nyni,

canys y mae genym Apostolion, Prophwydi, a holl roddion yr Offeiriadaeth santaidd, ac yr ydym yn cael ein dysgu yn ffordd y bywyd tragywyddol; ac yr ydym yr un mor sicr o iachawdwriaeth, a phe byddem wedi ein hachub eisoes, os parhawn mewn gwneyd daioni. Mae yr holl fyd wedi ei sïo i gysgu mewn drygioni a phechod, a nyni yw y bobl ddedwyddolaf ar y ddaear, ac yr ydym yn cynnyddu yn fwy yn ngwybodaeth y gwirionedd yn feunyddiol.—Efe a gyfeiriodd at yr ysbrydion grwgnachlyd a ddaethant i mewn; dywedodd na wyddent hwy ddim am ddyoddef, mewn cymhariaeth i breswylwyr cyntaf y dyffryn hwn, llawer o ba rai a fuont byw ar grwyn a charnau ychen, ac ar gyrff bleiddiaid, a chan deimlo yn falch o'u cael; a phan y dringent y mynyddoedd er cael cenin gan yr Indiaid, yr oeddynt yn rhy weinion i'w tynu o'r tir. Chwi ag sydd yn grwgnach ac yn achwyn—nis gwyddoch ddim; yna darfydded eich grwgnach, canys nid oes achos i chwi fod yn newynog un diwrnod, eithr gellwch fyw ar y blawd goreu, &c.

Y Llywydd Kimball—Mae y gwirioneddau a lefarwyd yn ymddangos mor eglur a syml, nes y teimlaf yn sicr y gweithreda y bobl yn iawn. Pan ddychweloch adref o'r lle hwn, meithrinwch yr hyn a glywsoch, ac ni adewir chwi mewn tywyllwch. Efe a ddysgodd y mamau yn y ddyledswydd o hyfforddi eu plant, megys y mae yn ysgrifenedig yn Llyfr Mormon, ac a dystiolaethodd fod Joseph Smith wedi cyflwyno holl allweddau ac awdurdodau yr Apostoliaeth i'r Apostolion; a phob dyn a dynes a ymladdo yn eu herbyn, a gondemnir; a phob cenedl a'u gwrthwynebo, a wywa fel cangen doredig o bren.—Ychydig o flynyddoedd yn ol, ni chredai y byd mewn dadguddiad, a gelwid Joseph yn "Joe Smith, yr arian gloddiwr;" eithr yr awrhon mae yr holl fyd naill ai yn credu mewn dadguddiadau, trwy gnociadau ysbrydol, neu yn myned yn aur-gloddwyr.

Y Llywydd Young a lefarodd ynghylch y pechod o dywallt gwaed Joseph y Prophwyd,

Canwyd. Gweddiwyd gan yr Henuriad Hyde.

*Hydref* 8, *chwech o'r gloch.*—Cyfarfyddodd y Corwm o Archoffeiriaid, a'r Llywydd John Young yn llywyddu. R. Cahoon a G. B. Wallace, Cynghorwyr; S. M. Blair, ysgrifenydd. Agorwyd y cwrdd trwy ganu. Gweddiwyd gan y Cynghorwr Wallace: Sylwodd y Llywydd John Young fod y corwm o Archoffeiriaid

wedi cyfarfod er trin materion, ac nid i gael pregethau. Cynnygiodd y Llywydd B. Young fod yr holl rai a ordeiniwyd yn Archoffeiriaid, ag oeddynt wedi cyrhaedd y Dyffryn, ac wedi eu hail-fedyddio, i gael eu derbyn fel aelodau o'r corwm, trwy roddi eu henwau i mewn i'r ysgrifenydd. Yr Esgobion E. Hunter, Felt, a Haywood, a wnaethant rai sylwadau, y rhai a ddilynwyd gan y Llywydd B. Young, ar Ddegwm, a'r cynllun dyfodol i'r Esgobion gadw eu llyfrau; ac erfyniodd ar aelodau y dosparthiadau i setlo â'u gwahanol esgobion, &c.

Terfynodd y cyfarfod. Gweddiwyd gan yr Henuriad Erastus Snow.

*Hydref* 9, *deg yn y boreu.*—Galwyd y gymmanfa i drefn gan y Llywydd Kimball. Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan y Patriarch Morley, a chanwyd.

Yr Henuriad Lorenzo D. Young a sylwodd —Yr oeddwn wedi meddwl, tra yn eistedd yn y gymmanfa hon, fy mod wedi cyrhaedd dedwyddwch a nefoedd. Pan welaf filoedd o fodau deallgar wedi ymgasglu o bedwar ban y byd, yn y neuadd helaeth hon, llefara yn uchelach nâ tharan, mai hon yw Teyrnas Dduw. Teimlaf megys pe byddwn yn Seion y boreu yma, ac yn eistedd mewn nefolion leoedd, ac yn gwrandaw addysg; y mae yn anadlu allan ysbryd heddwch, undeb, a gallu, ac y mae yn gwneyd pob un yn ddedwydd. Gofynai ddyn o feddwl, gallu, a grymusder mawr i dystiolaethu fod Duw wedi llefaru wrtho, trwy angel, ac wrth genedlaeth o ddynion ag oedd wedi suddo mewn drygioni a phechod; etto y cyfryw ddyn â hyny oedd Joseph, y Prophwyd; ac yr wyf yn tystiolaethu ger eich bron chwi iddo ef ddwyn allan waith y dyddiau diweddaf, a nyni ydym ffrwyth ei lafur. Gofynaf i chwi y rhai oeddych frodyr y Methodistiaid a'r Bedyddwyr, paham na fuasech yn parhau gyda hwynt? Yn unig oblegid eich bod yn sefyll ar sylfaen lithrig, ac yn canfod goleuni mwy pan gyflwynwyd i chwi y gwaith hwn. Os nad wyf fi yn nheyrnas Dduw yn awr, cyhoeddaf ffarwel i bob dedwyddwch, a gobaith dyfodol o ogoniant; eithr yr wyf fi ynddi, ac yn mwynhau ei bendithion. Mae yr Arglwydd wedi ein dwyn ni, trwy ei allu a'i gyfarwyddyd, allan o wlad gorthrymder, nychdod, afiechyd, a marwolaeth, i wlad iachus, a dyffryn o heddwch a rhyddid.—Yr wyf yn dywedyd wrthych chwi, benau teuluoedd, os nad ydych yn awr yn gosod sylfaen dedwyddwch a gorphwys-

dra, pa le y dysgwyliwch ei wneuthur? Myfi a wobrwyir yn ol fy ngweithredoedd, eithr y rhai a ddysgwyliant lonyddwch yn Seion, pan ddeffroant yn yr adgyfodiad, a gânt allan nad oes iddynt etifeddiaeth ynddi.—Os gellwch ddangos i mi ddyn nad yw yn hunanol, nid dyn mo hono; os gellwch ddangos i mi fenyw nad yw yn hunanol, chwi a ddangoswch i mi ddynes ynfyd, ac un na ŵyr y ffordd i ddedwyddwch, neu at goron o ogoniant.—Pan weloch gyfleusdra i wneuthur daioni, ac esgeuluso y cyfleusdra hwnw, chwi a ddeallwch gael o honoch eich arwain, gan y gwrthwynebwr, yn mlaen ar y llwybr cyfeiliornus, a'ch bod yn teithio y ffordd gyfeiliornus.—Ai ni wyddoch chwi fod Teyrnas Dduw wedi ei gosod i fyny ar y ddaear, a'ch bod yn byw yn nyddiau prophwydi ac apostolion; a'r Deyrnas a barha i dreiglo yn y blaen hyd nes y llanwo yr holl fyd. Yna bydded i ni wneuthur pob peth yn ewyllysgar a ofynir genym.

Y Llywydd Kimball a gyflwynodd enwau Elam Luddington a Levi Savage, ieu., i fyned ar genadiaeth i Siam, gyda Chauncey West. Yr oeddynt yn bresennol. Cyfodasant a dywedasant eu bod yn barod i gychwyn (er mai dyna y rhybydd cyntaf a gawsent). Pleidleisiwyd yn unfrydol iddynt fyned. Yna efe a ofynodd os caem adeiladu y Deml o feini o Red Bute, *adobies*, neu o graig o San Pete. Gallwn ei hadeiladu o'r defnyddiau goreu, canys y mae genym undeb, asgwrn, mêr, a gwythi. Mi a garwn weled rhywbeth prydferth, ac y mae ein Llywydd yn eithaf abl i roddi cynllun i ni o'r hyn sydd arnom ei eisieu er i'r Saint gael eu holl fendithion ynddo. Yna efe a adroddodd ymweliad yr hen Brophwyd â'r crochenydd yn ei weithdy, yn nghyd â'r ddammeg hono, wedi ei chymhwyso at y Saint. Dywedodd ei fod ef yn falch, a bod ganddo achos i fod yn falch o'i grefydd, a'r Henuriaid, y brodyr, a'r Saint, ac yn neillduol pan y gwnant ddaioni. Frodyr, a gawn ni y Deml wedi ei hadeiladu o feini o Red Bute, *adobies*, craig, neu o'r gareg oreu a gynnyrcha y mynyddoedd? Cynnygiodd fod i ni ei hadeiladu o'r defnyddiau goreu a ellid gael o'r mynyddoedd.

G. A. Smith—Os oes y gareg neu y pren goreu o goed yn y mynyddoedd, dylent gael eu hoffrymu i'r Arglwydd. Os adeiladwn ni o'r defnyddiau goreu, gwna yr Arglwydd agor y ffordd er eu cael; eithr os adeiladwn er mwyn yr ordinhadau, llusg-waith fydd; ac os adeiladwn Deml ardderchog, gwna meddiannau a phob

peth arall gynnyddu mewn cyferbyniad, gwna yr Arglwydd ei derbyn, y cenedloedd ei hanrhydeddu, a'r bobloedd o bedwar cŵr y ddaear a ddeuant i dderbyn eu cynnysgaethiadau. A chynnygiodd ein bod yn gosod y sylfaen o'r gareg oreu, ac yn adeiladu arni o'r defnyddiau goreu a ellir gael yn Deseret.

E. T. Benson a ychwanegodd—A gwneled y Llywyddiaeth megys y gwelont oreu, ac elent rhagddynt i'w gorphen.

Y Llywydd H. C. Kimball—Mae wedi ei gynnyg a'i eilio fod i ni adeiladu Teml o'r defnyddiau goreu a ellir eu cael yn mynyddoedd Gogledd America, a bod y Llywyddiaeth i hysbysu pa le y mae'r meini a'r defnyddiau ereill i'w cael, fel y byddom yn ddirwystr o'r pryd hwn allan ac yn dragywydd.

Cariwyd yn unfrydol. Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan J. Taylor.

*Hydref* 9, *dau o'r gloch.*—Agorwyd trwy ganu. Gweddiwyd gan Lorenzo Snow, a chanwyd.

Y Llywydd Young—Pan fyddo achosion o anhawsdra yn dyfod ger fy mron, yr wyf yn teimlo yn dra chraffus ar amserau, eithr yn bresennol teimlaf yn dra diofal. Pe gallem gael yr aelodau gwrrywaidd i wrandaw, byddai yn ddigonol. Llefaru wyf yn nghylch y *kanyons.* Coed yw y cynnyrch mwyaf neillduol a edrychir ar ei ol, ac y mae y dynion sydd yn ei gael yn meddu profiad: nid oes un esgus dros i ddynion regu, melldithio, ac ymladd; a meddyliwyf y celai barn y gymmanfa hon effaith dda. Ychydig o flynyddoedd yn ol, darfu i'r Gynnullfa Ddeddfwrol werthu amryw kanyons i bersonau penodol. Efe a adroddodd ymddygiadau gwahanol bersonau, yn rhegu a chweryla, ac "yn gadael eu crefydd wrth enau y kanyon," gan ddangos i'r gwladoldeb iaith ac ymddygiad gwarthus rhai dynion. Efe a alwodd ar y gwladoldeb i ddiddymu y fath ymddygiad. Rhaid mai diadell rhyfeddol dda yw 8,000, 10,000, 20,000, neu 30,000 o ddefaid, heb fod rhai drwg yn eu mysg, a'r ysfa arnynt, &c. Nid wyf fi am ddyfetha y defaid, eithr eu golchi a'u cael yn lân.—Fy mhenderfyniad i yw fod i'r *kanyons* hyny gael eu gosod yn nwylaw dynion da, er gosod clwydydd ar eu geneuau, a gwneyd ffyrdd da, gan gymmeryd toll yn dâl. Yna efe a ddarluniodd ymddygiad rhai personau yn myned i ddyled, gan ddangos eu hymddygiad rhagrithiol tuag at yr Eglwys a'r awdurdodau. A phan na fyddo dynion yn byw yn ol y gwirionedd, pa beth yw yr achos ?

Mae yn rhaid fod diafol yn rhywle.—Mae y werin hon wedi talu i'r marsiandwyr Cenedlig oddeutu 300,000 o ddolars o fewn y chwech mis diweddaf. Nid oes pâr o fulod a allai lusgo yr arian yn groes i'r gwastadedd, ag y mae un o'r ystordai hyn wedi eu cymmeryd.—Pe meddai y bobl hyn y wybodaeth sydd gan engyl, a gweithredu fel ag y gwnant, hwy a ddanfonid i uffern cyn codi o haul arall; eithr fel y mae, Duw a wincia ar ein hanwybodaeth.—Ystyriwch nad ydym ni yn perchenogi y *kanyons*. Yna gadewch iddynt fyned i ddwylaw dynion a wnant ffyrdd da, a thalwch hwynt am danynt. Yr ydym ni fel Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, yn y cymmeriad o gymmanfa, yn ei roddi fel ein barn, ac yn cymmeradwyo y swyddogion gwladwriaethol, i osod y kanyons yn nwylaw dynion y rhai a wnant ffyrdd da, a'r coed yn gyfleus i'w cyrhaedd, a bydd i'r bobl gael gwasanaeth yr unrhyw trwy dalu toll. Os mai hyn yw eich meddwl, arwyddwch hyny trwy ddyrchafiad dwylaw. [Dwylaw pawb i fyny.] Yn awr, Farnwyr Swydd y Llyn Halen Fawr, Utah, neu swyddi ereill, cymmerwch rybydd, a llywodraethwch eich hunain yn ol hyny.—Yna efe a lefarodd am y Deml, a'r gwahanol geryg o San Pete, y gareg goch dywodlyd, a'r mynor bastarddaidd, a'r adobies wedi eu cymmysgu â charegos a gwellt; ac, meddai efe, y Deml a wneir o'r *adobies* a'r caregos a fydd y gadarnaf; llefaru yr wyf fi am barhad yr adeilad. Gwna yr *adobies* a'r caregos droi yn graig mewn pum can mlynedd, a gwna y tro i'w thori yn feini malu, pan fyddo y lleill wedi dadfeilio. Mae creigiau yn wastad yn ymgyfansoddi a chynnyddu mewn cadernid, neu yn dadgyssylltu a dadfeilio. Bydd tai *adobies* yn well mewn hanner can mlynedd, nag y maent y diwrnod eu gorphenir. Yr wyf yn ei roddi fel fy opiniwn mai mur *adobies* fydd yr adeilad goreu.

Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan J. M. Grant.

*Dydd Sul, Hyd.* 10, *deg o'r gloch.*—Galwyd y gymmanfa i drefn gan yr Henuriad O. Hyde. Canwyd. Gweddiwyd gan yr Henuriad Hyde, a chanwyd.

Yr Henuriad John Taylor a lawenychai i fod yn nghanol pobl lle mae y swm fwyaf o ddoethineb a dedwyddwch yn gyd-gynnulledig ar wyneb y ddaear. Nid wyf mewn un lle arall wedi gweled y bobl yn cael eu hamddiffyn yn eu hiawnderau; ac y mae hyn yn ein gosod ni uwchlaw y lleill o'r teulu dynol, ac y

mae yn brawf diymwad fod Duw gyda ni.—Efe a adroddodd ymddyddan a fu rhyngddo â golygydd cydfeddiannaidd Ffrengig, yn profi fod y Saint wedi cyflawni yr OLL ag a fethodd y Ffrancod ei sefydlu. Chwi a ellwch olrhain Pabyddiaeth a Phrotestaniaeth, a gadawer iddynt hwy wneuthur y goreu a allant dros ddynolryw, a chwi a welwch y byd yn ei sefyllfa ddrygionus bresennol. Nid oes un dyn a *feiddia* ddywedyd fod y nefoedd wedi eu hagoryd iddo, ac angel wedi ei anfon ato; nid oes un a *feiddia* dystiolaethu y gŵyr fod Duw, neu ei fod wedi llefaru wrth y bobl o'r nefoedd.—Yna efe a gyflwynodd lawer o ddrychfeddyliau ag oedd yn naturiol yn dyfod i feddwl myfyrgar, gan ddangos dealltwriaeth rhagorach, i ddyn; a phwy sydd yn cyfranu y dealltwriaeth i ddyn; gan gymharu y dealltwriaeth rhagorach ag sydd yn rheoli y gyfundraeth blanedol, mor fanwl, fel y gall y philosophydd ei hun, anmherffaith fel ag y mae, gyfrif yr amser cywir ag yr ail-ymddangosa planed, er y gall fod gan mlynedd yn mlaen, a thrwy hyny ddangos bywyd, cymmesuredd, a harddwch, ag na ellir gwella arnynt. Mae pob peth yn berffaith, hyfrydol, a chydgordiol, ag nad oes gan ddyn ddim i wneyd ag ef; mae hyd y nod bywyd anifeilaidd, adar, pysgod, &c., wedi eu cyfaddasu yn rhyfeddol er symud yn eu gwahanol gylchoedd; a phe buasai dyn wedi aros yn ei le, buasai yr un prydferthwch yn llywodraeth dyn ag sydd yn llywodraeth Duw. Paham y mae rhyfeloedd, terfysgoedd, trueni, a dystryw? Oblegid fod dyn wedi anghofio Duw; ac y mae pob peth yn profi ei fod ef yn analluog i reoli, neu wneuthur ei hun yn ddedwydd. Yr ymadawiad oddiwrth Dduw yw yr achos o'r holl ddystryw, caledi, a'r trueni ag sydd yn y byd; ac nis gall dim llai nâ dychweliad at Dduw, adferu dyn, a'r byd, i'w prydferthwch dechreuol.—Efe a lefarodd am y Saeson yn gorchfygu cyfran o wlad Asia, cynnyrchu opium, ei ddanfon at y Chiniaid, y rhai a'i dinystriasant, yn ol cyfraith cenedloedd, yr un fath ag y dinystriodd y bobl yn Boston longaid o dê; dygodd hyn ryfel oddiamgylch, a thywalltwyd llawer iawn o waed.—Drachefn, yr Americaniaid a ddanfonasant y General Taylor i ryw diriogaeth ammheus yn Texas, yr hyn a achosodd ryfel â Mexico; ac yn y modd hyny yr attodwyd y y ddwy Galifornia. Hefyd, y Daniaid a'r Swediaid a aethant i ryfel, ac Awstria a ddanfonodd fyddin fawr, i ba un nid oedd ganddynt ddim gwaith, i gymmeryd cyfran o'r diriogaeth, fel y

mwnci yn eistedd fel canolwr rhwng y ddwy gath, ac yn bwyta tafell o gaws o bob ochr, hyd nes y cafodd y cyfan.—Yma mae ysbryd o undeb, heddwch, trefn, a dealltwriaeth, y rhai a drosglwyddir i ni gan yr Eloheim. Yna gadewch i ni fod yn ofalus pa fodd y defnyddiwn ein bendithion, canys y mae genym Brophwyd, Gweledydd, a Dadguddiwr, yr hwn sydd yn sefyll rhyngom â Duw; ac fe ddaw yr amser, y bydd i'w ewyllys gael ei gwneuthur ar y ddaear, megys yn y nefoedd. Amen.

Yr Henuriad O. Hyde—Pan yr ydym yn siarad am bethau am y rhai y clywsoch, y darllenasoch, neu y deallasoch, y maent yn cyffwrdd â phob teimlad teimladwy. Efe a eglurodd achos a natur cweryla, pa un bynag ai yn deuluol neu genedlaethol. A phan ddanfonodd Creawdwr y bydyssawd ei genad i ddwyn tangnefedd i'r ddaear, y preswylwyr nis derbynient ef, a dechreuasant ladd yr holl blant gwrrywaidd, fel ysgatfydd y lladdent y cenad, ac felly barhau eu meistriolaeth.—Chwant a blys dihyfforddiad sydd yn arwain dynion ar gyfeiliorn; a rhaid i'r cenedloedd hyny, ag sydd wedi bod yn ymladd â'u gilydd, ddyfod yn deyrnasoedd ein Duw ni, &c.

Canodd y côr ddarn o beroriaeth gyssegredig. Gweddiwyd gan John Taylor.

*Hydref* 10, *dau o'r gloch.*—Galwyd y gymmanfa i drefn gan yr Henuriad O. Hyde. Canodd y côr, "Guide us, O thou great Jehovah." Gweddiwyd gan J. L. Heywood, a chanwyd, "Behold the great Redeemer comes."

Gofynwyd bendith ar y bara gan yr Esgob Roundy.

Y Llywydd Young a ddywedodd—"Cynnygiwyd ac eiliwyd fod Franklin Dewey i fyned ar genadiaeth i Siam." Cariwyd yn unfrydol. Yna efe a roddodd rybydd y dysgwyliai i'r gymmanfa orphen y prydnawn hwnw, ac am i bob busnes gael ei ddwyn yn mlaen. Er boddhau fy nheimladau i, mi a hoffwn i'r gymmanfa barhau wythnos arall, eithr fe allai nad yw yn anghenrheidiol.—Yr wyf am ateb gofyniad y Tad Draper, yn gymmaint ag i'r bobl ymgyfammodi i wneuthur fel y dywedaf wrthynt. Dywedaf wrth y Tad Draper, a'r lleill o'r bobl ag ydynt yn bresennol, ac yr wyf am i chwi ddweyd wrth eich cymmydogion, a'i ddysgu i'ch plant, ïe, gwybydded yr holl bobl pa beth yr wyf yn ei ddywedyd—Gwnewch ddaioni o'r pryd hwn allan, ac yn dragywydd; ac na chyflawnwch ddim yn ychwaneg

o bechodau, tra fyddoch byw; a cherwch yr Arglwydd â'ch holl galon; gwnewch ddaioni i'ch cymmydog, ac estynwch yr unrhyw i bawb o'r teulu dynol. Dywedaf wrth y Tad Draper yn neillduol, Gwnewch eich hun yn ddedwydd, a byddwch fyw gyda eich plant, mynwch yr hyn sydd arnoch ei eisieu i fwyta, ac yfed, a gwisgo, a bendithiwch y bobl.

Elijah Newman a ddywedodd—Un diwrnod pan oeddwn yn sefyll yn wyliwr yn yr eira yr holl nos, y brawd Joseph Smith a'm galwodd i mewn i dwymno fy hun. Mi a ofynais iddo, "Frawd Joseph, ai nid oes genych chwi i gael eich iladd fel rhyw ddyn arall?" "Oes," meddai. "Yna pwy a gymmer eich lle pan fyddoch chwi wedi eich lladd?" Ebe yntau,—"Mi a'i hatebaf yn y modd hyn, Pwy a ganlynodd yr Iachawdwr pan gafodd ei groeshoelio?" Amlygwyd i mi mai Brigham Young fyddai y blaenor, ac felly y mae yn awr.

Gofynwyd bendith ar y dwfr.

Alexander Badlem, Levi Gifford, George D. Watt, a Noah Packard, a hysbysasant eu teimladau,

Erastus Snow—Wrth y brodyr a'r chwiorydd hyny a ddaethant i mewn yn ddiweddar, ac sydd am wybod pa bryd yr ydym ni yn myned i Swydd Haiarn, yr atebaf y bydd naill ai diwedd yr wythnos hon, neu ddechreu yr wythnos nesaf. Dymunir yn benodol ar y crefftwyr hyny ag sydd yn deall rhyw ran o'r gwaith haiarn, i fyned gyda ni i Swydd Haiarn.

Joseph Young a lefarodd ar *erysipelas*, afiechyd a ddygwyd oddiwrth waelodion y Mississippi a'r Missouri; a chymmeradwyodd y brodyr i roi yn wlych risgl y *quaking ash*, gwneyd tê, a'i yfed; a dywedodd y gallai dynion estyn eu bywydau, pe meddylient am gymmeryd gofal o'u hunain.

H. C. Kimball—Yr wyf yn cynnyg fod i'r gymmanfa hon addoedi hyd y 6fed o Ebrill nesaf, am ddeg o'r gloch yn y boreu, yn y lle hwn. Eiliwyd, a chariwyd.

Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan yr Henuriad O. Hyde.

T. Bullock.

---

## ANERCHIAD AT Y SAINT.

ANWYL SAINT,—Wedi i ni weled yr *hint* yn y *Star* mewn cyssylltiad â'n dyledswyddau i gyfranu tuag at y Deml y flwyddyn hon etto, megys ag y darfu i ni y flwyddyn ddiweddaf,—yr ydym wedi bod yn dysgwyl hyd yn hyn am orchymyn mwy pendant; ac yr ydym yn teimlo erbyn hyn fod *hint* i'r doeth yn ddigon, ac y gwna hyny agor ei lygaid i weled ei ddyledswyddau. Buom yn eich rhybyddio chwi er ys tipyn yn ol i wneuthur eich hunain yn barod. Am y swm, frodyr, nid ydym yn gwybod etto, ond dechreuwch gasglu, ac nid oes achos ofni y daw gormod i mewn.

Y mae genyf fi gystal ffydd yn awr ag a fu genyf erioed, mewn perthynas i gael arian i gario y gwaith hwn yn mlaen, a pheidiwch â meddwl ei bod wedi lleihau. Mae ambell frawd yn dweyd, "Gadewch i mi gael ychydig o amser i adferyd fy Saint; mae eu calonau hwy wedi cau yn anghyffredin, ac y mae braidd ofn arnaf i osod dim o'u blaen yn bresennol: yr wyf am eu hadferyd hwy yn gyntaf." Frodyr, dyma y ffordd i'w gyru hwy i ddirywiad parhaus, ac yn dlotach, dlotach. Dyma y llwybr i wneyd yr hwn sydd yn rhoi swllt i roi chwech cheiniog, a'r hwn sydd yn rhoi chwe cheiniog i roi dim ond ceiniog, a dweyd y tro wed'yn y gofynir ganddo, dan gosi ei ben, "Yn wir, ni allaf fi ddim rhoi ond dimai y tro hyn;" ac o'r diwedd, myned fel y fuwch hono yn hesp heb ddim llaeth; er fod rhai wedi digio wrth *ddamneg y fuwch*, etto y mae hi yn egwyddor ardderchog!

Frodyr, y llwybr i chwi adferyd eich eglwysi ydyw, trwy ddysgu iddynt eu dyledswyddau i gyfranu tuag at gario pob rhan o waith Duw yn mlaen.

Yn anaml y gwelir Cangen ag sydd yn haelionus tuag at waith Duw, yn llesg, ond yr oll yn fywiog, yn llwyddiannus, ac yn feddiannol ar gariad mawr tuag at bawb. Saint, bydded i chwi ddwyn i gof yr amser hyny, pan yr oeddech yn fwy haelionus; onid oeddych yn mwynhau mwy o Ysbryd Duw nag a ddarfu i chwi fwynhau erioed? Pwy a all ammau hyn? Neb, ond y rhai ag oedd yn cyfranu dan rwgnach, &c.

Yr ydym yn galw eich ymdrechiadau chwi hefyd, Saint, at y "Drysorfa Ymfudol," canys mae hyn o bwys mawr. Nid oeddwn yn meddwl wrth ddechreu y pwnc hwn ddweyd dim ond mewn

perthynas i'r Deml. *Now, boys, all hands* at y gwaith, ac yna bydd bendith Duw arnom ni, ac yn ein haros yn Seion. Bydded i Dduw ein bendithio ni oll, er mwyn Iesu Grist. Amen.

W. S. PHILLIPS.

14, Castle St., Merthyr, Mehefin 1, 1853.

---

## NEWYDDION O DDYFFRYN Y LLYN HALEN.

YMDRECHWN roddi rhyw grynodeb o'r newyddion oddiyno i fyny hyd ddiwedd Mawrth. Yr oedd ymofyn mawr am nwyddau cartrefol. Yr oedd cwmpeini y gwaith siwgr wedi attal eu gwaith yn Provo, am dymmor, ac wedi dechreu gwneuthur triagl, yr hwn a ymofynid yn fawr am dano gan y bobl. Cafodd haiarn a dur eu gwneuthur yn Swydd Haiarn. Cafodd *satinettes*, jeans, brethynau, a gwlaneni, eu gwneyd gan Mr. Gaunt. Cafodd capiau pân a blew afanc eu gwneyd gan Mrs. Kippen, ac ysgubelli lawer gan Thomas McMillan, ac ereill. Hetiau a phenguwchod gwellt, ynghyd â llestri pridd, a wneid hefyd, heblaw cribau mawr a mân. Mae y Llywodraethwr Young wedi cynnyrchu caws nad ellir ei faeddu yn Sir Gaer, Lloegr. Dangoswyd y gellir cynnyrchu cotwm yn y Dyffrynoedd. Dywedir fod glo rhing, cystal ag a geir yn Lloegr, i'w gael yn San Pete. Siarada y *News* am fagu rhython y brain, crancod, ceimwchod, ac wystrys yn y Llyn Halen Fawr. Ar ddydd calan, y corwm o Ddeuddeg Apostol, yn nghyd â'r corau cerddorol, a gwrddasant yn y Cynghor-dy, ac a aethant i ddymuno blwyddyn newydd dda i'r Llywyddion Young, Kimball, a Richards, a'r Patriarch John Smith, ac ereill. Ar yr un dydd, agorwyd y Neuadd Gyfeillachol trwy ganu gan yr Henuriad Dunbar, a gweddi gyflwyniadol gan yr Henuriad Amasa Lyman, ac anerchiad gan yr Henuriad James Ferguson, ar ol yr hyn y bu dawnsio a chanu. Ar y 14eg o Chwefror, cyssegrwyd y Temple Block, ac agorwyd y tir. Oddiar hyny, yr oedd dau cant o weithwyr wedi eu gosod i weithio arno, o dan gyfarwyddyd yr Henuriad Wilford Woodruff. O herwydd gerwineb y tywydd, yr oedd y gweithwyr ar y Tŷ Taleithiol, yn Ninas Fillmore, wedi attal eu gwaith dros y gauaf. Mae y gauaf wedi bod yn erwin iawn, a chryn lawer o eira. Mae maen a fwriadwyd er gosod yn nghofadail Washington, wedi ei weithio a'i gerfio yn gywrain, ac yn barod i'w ddanfon i Washington: y

mae arno lun y cwch gwenyn, a'r geiriau "Santeiddrwydd i'r Arglwydd," ac uwchben hyny y llygad hollwybodol, ac ar y gwaelod y gair "Deseret," heblaw llawer o bethau ereill yma a thraw.—Cyfrifid fod y marwolaethau yn Ninas y Llyn Halen Fawr, yn 1852, yn 98; 90 o ddinasyddion, ac 8 o ddyeithriaid; 44 o bobl mewn oed, a 54 o blant.

Dyfynwn a ganlyn etto o'r *News*:—"Bydded i'r rhai a fwriadant ddyfod gyda bwriad i drigo yma, ddwyn gyda hwynt gymmaint ag a allant o'r pethau canlynol: Defnydd brown crysau a lleni, eu pris yma o 20 i 30 cent; hickory at grysau, 25 i 30 cent; Kentucky jeans, 75 i 125 cent; gwlanen gotwm, 30 i 40 cent; printiau o bob math, 25 i 50 cent; pinau, nodwyddau, ysnodenau, santinettes, tweeds, brethyn panedig, llifiau melinau, butts, ysgriwiau, durlifiau; hoelion, 25 i 30 cent; gwydr, 15 i 18 dolar yr hanner blychaid; clicedi drysau, cloion, byllt, rhawiau, ffyrch gwair, palau, a chwŷn-geibiau, llestri ceuol; dur, 37½ i 100 cent; cyllyll a ffyrch, llwyau; papyr foolscap a llythyron, y *ream*, 10 i 12 dolar; inc, y gostrel, 2 ddolar; llyfrau ysgrifenu, lleni tin a chopr, nutmegs, cribau, papyrfwrdd; cotton batting, 50 cent y pwys; edafedd cotwm, 50 cent y pwys; llyfrau ysgol, y drilling glâs goreu, a hadau o bob math. Ac nis gellir cael un o bob ugain o'r pethau uchod yn Utah yn bresennol am unrhyw bris."

Mae teimlad gwresog a bywiog yn mhlith y Saint trwy y Diriogaeth; a diwydrwydd, heddwch, a llwyddiant, yn nodweddu y gwahanol sefydliadau.

---

## Y GWANWYN.

Y Gwanwyn mwyn! y Gwanwyn! O fel carwyf fi
I wel'd y gwanwyn yn ei hyfryd *jubili*!
Yr haul yn tirion-daflu ei belydrau pur
Dros y mân wlithawg ddail, a'r gwylltaidd ffrydiau clir;
Tra'r adar a'u cymharon sydd o lwyn i lwyn,
Gan hyfryd bynciaw eu cynhenid gerdd yn fwyn,
A chwilio'n aiddgar, efe anian gref, am fan
Lle gallont fagu eu rhywiogaeth fach i'r làn.

Y coedydd sy'n wisgedig mewn mantelloedd gwyrdd,
A rhai'n drwsiedig welir â hoff flodau fyrdd;
Y crinllys, y dewbanog fach, a'r briallu llâd,
Gystadlant oll i roesaw boreu'r gwanwyn mâd;

Y laethwraig ieuanc deg ei thôn ddigrifaf gân,
A'r gwas lygada'n siriol ar ei feinir lân;
Tra'r gog â'i chywair bruddaidd glywir yn y ddôl,
A'r plant yn gwatwar-waeddi "*gwcw*" ar ei hol.
Y gwanwyn mwyn! y gwanwyn! O fel carwyf fi
I wel'd y gwanwyn yn ei hyfryd *jubili*!
Bys Duw i'w olrhain yn ei weithiau o bob rhyw,
A natur, yn ysblenaidd gan bob harddwch gwiw,
Dŷr allan mewn pêr-lesmair ac mewn cariad cu,
Gan briodoli pob rhyw fawl i'w Lluniwr fry.
O ffei! mai'n mhlith oroiaiñ fel y rhai'n y ca
Melldithion dyn yn fythol chwifiaw ar y chwa.

Mor anwyl yw y gobaith fedd y duwiol rai,
(Er mai ychydig erys yma i'w llonhau,)
I roesaw gwanwyn na ddaw gauaf byth i'w gwrdd,
Pan fyddo gauaf bywyd wedi passio ffwrdd,
I dderbyn y lòn wys ddanfonir oddi fry,
Gan yr Hwn sycha odd eu gruddiau ddagrau lu,
Yn yr Eden lwys, lle llifa'r afon fywiol lân,
A'r oll flodeua'n hardd, heb ddim i droi eu grân. (1841.)

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

"RHINWEDDAU GWRAIG."—A "b'le ceir hi." Os na ŵyr y brawd J. R. am y cyfryw, darllened yr isod, a cha wybod; yna na syned, ond chwilied am dani fel y trysor goreu, a chanmoled hi wedi ei chael, a thrwy hyny efallai y ca lawer

Gwraig deg, fywiog, nid rhy bwyllog,
Lanwedd, serchog, rywiog, rydd,
Fwyn, lygadlon, lawen-galon,
Loew fron, mor lân â'r dydd;
Hedd yn chwarae ar ei gruddiau,
Gwir ar fin ei gwefus hi;
Addurn gwr, yn llawn rhinweddau;
B'le *mae* hono?—Genyf fi. DEWI ELFED.

---

TALIADAU O FEH. 10 HYD MEH. 16.—Sir Fynwy, £1; Pontytypridd, £1; Aberamman, 11s; Hirwaen, 7s 2c; Georgetown, 4s; Ffynnon-Tydfil, 5s; Troedyrhiw, 2s 6c.—Cyfanswm, £3 9s 8c.

☞ Prisiau y Llyfr Hymnau o hyn allan fydd fel y canlyn: —Y rhwymiad goreu, 2s 6c; yr ail oreu, 2s 3c; a'r croen llo cyffredin, 2s.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 26.] MEHEFIN 25, 1853. [CYF. V.


## PRIODAS.

PRIODAS sydd gyssylltiad rhwng y ddwy rywiogaeth, yn eu gwneyd yn un, trwy berthynas, teimlad, cariad, mwynhad, a gobaith:—sydd yn cyfreithloni y ddwy blaid i'w gilydd a'u holl —ac yn cylymu eneidiau y naill wrth y llall, hyd nes y mae lles y naill yn lles i'r llall; mwyniant, llawenydd, a dedwyddwch y naill, yn ddiferion yn nghwpan melysaidd y llall.

I'r dyben o fod priodas yn dwyn yr effeithiau hyn, anghenrheidiol ei bod yn cael ei gwneyd yn rheolaidd a chyfreithlon. Awgryma y cyfreithlonrwydd fod cyfraith perthynol i'r cyflwr dedwyddol hwn; yr hyn sydd yn addefedig, gan mwyaf, drwy y ffaith o fod pawb, braidd, yn mhlith pob cenedl a gwlad yn mhob oes o'r byd, yn honi yr hawl, er nad pa mor amrywiol eu dulliau, eu seremoniau, a'u cyfreithiau priodasol; etto, y mae cyfaddefiad yr oll o honynt, o'r anghenrheidrwydd o gyfraith neu ddeddf briodasol; gweinyddiad yr hon ddeddf a ystyrir yn gyfreithlonrwydd y briodas. Hyd yn hyn, cyduna yr holl fyd braidd o barthed i briodas. Cydunant hefyd y dylai fod cymhwysderau gweinyddol, neu hawl i briodi; eithr nemawr yn mhellach nâ hyn, ni cheir cydwelediad na chydgordiad o barthed i'r pwnc hwn. O barthed i'r iawn ddull, parhad, rheolau perthynol i, ac yn enwedig breintiau, bendithion, dyledswyddau, a gogoniant dyfodol y cyflwr priodasol, y mae cynnifer o wahanol farnau ag sydd braidd o wledydd neu o grefyddau yn y byd: o leiaf, maent rhy liosog ac amrywiol i ddenu llawer o'n sylw yn bresennol.

Eithr, er mwyn deall y fath yw priodas gywir a gwirioneddol, ymchwiliwn gan bwy y mae yr hawl gyfreithlawn i weinyddu; ac ysgatfydd a'r nad yno y cawn allan yr iawn o'r oll a berthyna i'r cyflwr hwn. Pa le y cawn y cyfreithlonrwydd o hyny? Pawb a honant eu hawl i briodi eu deiliaid gwladol eu hunain! A ydyw eu honiad o hyny yn eu cyfreithloni? Nid yw felly o anghenrhaid. Ac i'r cyfryw o ddynolryw a gredant ddwyfoldeb dadguddiadau Duw i ddynion, nid all hyny ymddangos yn rhesymol, o herwydd eu hamrywiaeth, eu croes-gyfreithiau, eu dulliau, a'u dybenion yn yr ordinhad hon. Er iawn ddeall gan bwy, os neb, o'r rhai a broffesant hyn y mae yr hawl ofynol, ymchwiliwn yn ol i'r oesoedd mynedol o'n rhywiogaeth, ac y maent yn llai amrywiol, etto yn ol rai miloedd, a cheir mai gweision y Duw byw a honent yr hawl i wneyd hyny;—ac etto yn ol i lygad y ffynnon, neu i'r gwreiddyn o'r pwnc hwn, a cheir ein rhieni cyntaf yn ymgyfreithloni yn nghyfreithlonrwydd y cyflwr priodasol yn ei iawn weddiad, a'u Duw,—eu Creawdwr—eu Tad yn eu priodi! Nid oes a ammheua bellach yr anghen o'r ordinhad berthynol i'r cyflwr hwn, nac o'r cymhwysderau gweinyddol; o herwydd addefir perffeithrwydd y gweinyddiad hwn oddiar yr ystyriaeth o berffeithrwydd ei gosodwr a'i gweinyddwr cyntaf, rhwng ein tad a'n mam ni oll. Paham a'r nad yw hwn yn batrwn teilwng o efelychiad eu holl blant yn mhob gwlad, oes, ac amgylchiad, mor belled ag ei heglurwyd? Os felly, paham a'r nad yw eithriad o hono, yn ddirywiad, a'i effeithiau yn ddirywiadol ganlynol?

Y mae perthynas honedig ac addefedig y gweinyddwr o'r pleidiau, yn gosod ei hawl weinyddol tu hwnt i ammheuaeth. Yma, ynte, ceir ei ffynnonell: Efe a bïa yr hawl, o herwydd Efe a bïa y personau; ei blant Ef ydynt drwy greadwriaeth, a'i hawl Ef yn *unig* yw eu priodi. Ni allasai y ddau briodi eu hunain. Ni allasai hyd y nod angylion eu priodi, heb ei genad Ef. Digon hyn, ynte, i brofi fod Priodas, yn ei gosodiad cyntefig, yn ordinhad ddwyfol, fod hawl ddwyfol yn anhebgorol er ei hiawn weinyddu, ac ammodau a chyfreithiau dwyfol yn perthynu iddi. Yr oedd *dwyfoldeb* yn argraffedig ar bob dosran o'r oll a berthynai iddi. Ai anhygoel yn ngolwg neb o blantos dirywiedig ac anwybodus y briodas uchod, yw credu mai priodas eu tad a'u mam eu hunain yw yr un oreu, ïe, yr unig un gymmeradwy ganddynt hwy a chan eu Duw! Onid yw eu hesiampl priodasol hwy yn

deilwng o efelychiad manwl gan eu holl hiliogaeth? Os felly, pa fodd a'r nad yw unrhyw eithriad oddiwrthi yn drosedd a amddifada ei throseddwyr o'i chanlynol rinweddau, a'i daionus effeithiau? A oedd ei chyfreithlonrwydd yn ymddibynu ar gyfreithlonrwydd neu hawl ei gweinyddwr gynt?—ac onid yw mor ymddibynol yn awr, ar yr unrhyw gyfreithlonrwydd gweinyddol, er esgor ar yr unrhyw ganlyniadau yn awr? Os felly, pwy a ddichon briodi ereill heb hawl ddwyfol i hyny? na phwy a ddichon ymbriodi â'u gilydd yn gymmeradwy ger bron Duw, heb briod-wr awdurdodedig?—A phwy a all ei awdurdodi ond yr hwn oedd yn dal awenau y ffrwyn lywodraethol ar y byd ymbriodol cyntefig yn "Mharadwys," a'r neb yn unig, a awdurdoda Efe i hyny, tra y perchenoga Efe y byd hwn ag y priodir ynddo, neu y pleidiau a briodir arno! Efe, ac Efe yn unig, ar unrhyw ystyriaeth, a ddichon briodi pleidiau yn effeithiol; ac Efe yn unig a ddichon gyflawni addewidion, a chyflwyno bendithion y cyflwr priodasol i ddyn. Os ydym wedi ymresymu yn gywir hyd yma ar y pen hwn, beth a gawsom allan? Cawsom, debygwn, nad dichonadwy priodi, nac i neb ymbriodi yn gyfreithlawn heb gyfreithlonrwydd i weinyddu yr ordinhad; a dysga rhesymeg gymhariaethol ni hefyd mai o herwydd mai gan Dduw yr oedd yr hawl hon yn hanfodol, naill ai, syned a fyno, nad yw unrhyw briodas yn gymmeradwy gan Dduw, ond a rwymir ar y ddaear trwy hawl ei offeiriadaeth Ef, drwy ei weision, neu, o'r ochr arall, nad yw cyssylltiad ei blant yn y cyflwr priodasol o bwys digonol i deilyngu ei sylw. Os yr olaf, nid oedd yn bwriadu i'w esiampl Ef yn gweinyddu yr ordinhad ar y cyntaf gael ei dilyn. Hefyd, os felly, paham y priododd Efe ein rheini cyntaf? Ond, y mae y ffaith o'i fod Ef wedi priodi ein rhieni cyntaf, heblaw ystyriaethau ereill a ellid enwi, yn dangos pwysigrwydd y peth yn ei olwg Ef yn rhy amlwg i neb ymguddio yn y lloches yna, debygwn; ac, os felly, beth yw yr unig ganlyniad, ynte? A gawn ni sylw y byd ato? Mae yn beth a deilynga sylw dwysicaf yr oll o honom, nid yn unig rhieni; eithr onid plant i rieni y'm ni oll! Mae o bwys i ni ystyried ai plant a genedlwyd yn gyfreithlawn ydym yn ngolwg y nefoedd, ynte, ai mewn anwireddus briodas ein cenedlwyd, ac ai mewn pechod, drwy drosedd o'r ddeddf briodasol, y beichiogodd ein mamau arnom. Dychryna y darllenydd efallai rhag y canlyniad ag yr ymresymodd ei hun iddo!

Ni allwn ni wrth yr effeithiau ag yr esgora gwirionedd arnynt, na'u dylanwad ar feddyliau ereill, mwy nag ar yr eiddom ein hun; ac yn ostyngedig cyfaddefwn i ni ddeffro megys o freuddwydio am gyfreithlonrwydd gorchestol ein cenedliad, a chael ein hunan mewn ffaith yn yr unrhyw ffôs â'r gweddill o'r hîl ddynol ag a genedlwyd drwy ymrwymiadau dynol; ac ni wyddom well ffordd nâ chyfaddef y ffaith, ac ymdrechu ymadferu ein hunain os gellir, ac yn enwedig ein heppil, o'i effeithiau mor gynted ag y bo modd, os oes yn bosibl gwneyd hyny. A dyma yr ymholiad nesaf, debygwn, ag sydd yn ymwthio i feddwl y darllenydd, ac nis boddlonir heb ei ateb. Pwy a'i hateba? Pwy a adfera i blant Adda yn awr gyfreithlonrwydd priodasol eu rhieni cyntaf? Mae y ffeithiau galarus drwy'r byd o'r croes-ddefosiynau o hono, ynghyd â'r gwadiad cyffredinol o'r anghen am y ddwyfol hawl gyntefig, yn addefiad digonol o'u hamddifad-rwydd o honi drwy y byd; heblaw yr honiad gwladwriaethol i'w gweinyddu yn profi hefyd nad oes hawl ddwyfol i hyn yn eu plith. Beth, ynte, a wneir? A ystyria y nefoedd nyni oll, a'n rhieni o'n blaen, hyd y diweddaf a briodwyd drwy hawl ddwyfol, wedi eu cenedlu yn anghyfrithlawn, a'n hiliogaeth anwylaidd yn aflan yn ngolwg Duw? ebe y darllenydd! Wel, da iawn fyddai genym ni i ryw un doethach ein tynu allan o ganlyniadau a ymddangosant mor anocheladwy; o'n rhan ni, yn ostyngedig cyfaddefwn ein hanallu i hyn drwy resymeg eglur a gwirioneddol. Ond ymgysurwn ein hun a'n darllenydd o berthynas i'r hyn a fu drwy ereill, yr hyn nis gallai fod yn amgen, o herwydd nad oedd yr hawl hono ar y ddaear; ymorphwyswn ar drugaredd a haelioni ein Duw, i basio heibio y dirywiad cyfeiriedig, a'n cyf-rif yn deilwng o'i sylw, i'n hadferyd ni er mwyn ein hanwylaidd had, etto a enir i gyfreithlonrwydd priodasol ein rhieni cyntaf; hyd nes eu ceir yn mhlith ei blant iawn briodol Ef yn Seion; yr hyn yw ein braint adferiadol ni oll drwy yr offeiriadaeth, yn ei hiawn bryd, ni wyddom am well ffordd nâ chadw yn gysseg-redig ein haddunedau priodasol a wnaethom. Canys esgusodol y'm yn eu gwneyd, o herwydd nad allem wneyd yn well, a diau mai hollol ddiesgus, ïe, collfarnol fyddwn gerbron Duw a dynol-iaeth, os na chywir gadwn ein hammodau priodasol a wnaethom. Etto ymwasgwn yn nes at gnewyllyn y pwnc; canys nid eppiliad neu liosogiad ein hiliogaeth yn unig, nad pa mor anghenrheidiol

ac mor ogoneddus a phleserus hyny, ydyw unig ddyben priodas gywir. O herwydd amlwg yw, oddiwrth gymhariaethol esiamplau lliosogiad pob dosparth o fywydau cynnyddol hyd eithafion cyffiniau anian; fod yr amcanion gwreiddiol o briodi dynoliaeth yn fwy tra-mawreddig i liosogiad yn unig, nag yw y rhagoriaeth cynnysgaethiad creadigol a moesol ar yr olaf i holl ragoriaethau creadigol ereill a geir mewn bodoldeb. O! ydyw, ddarllenydd, y mae dy Greawdwr—dy Dad, wedi gofalu yn fanylach am dy genedliad di a'th ddyfodiad i'r deml ddaearol hon; yr amser, yn nghyd â'r llinach y daethit o honi, a phob manylrwydd arall a berthyn i'th achau, dy ddygiad i fyny o'r bru, gweithredoedd dy einioes, da a drwg, diwedd-glo dy fuchedd, a'th dynghed dragywyddol, nag a wnaeth ag un creadur arall o'i eiddo. Canys plentyn hoff iddo o'i ymysgaroedd dwyfol oeddit, gwaith ei ddwylaw wyt, ac ato Ef y dychweli. "Canys rhaid i ni oll ymddangos gerbron brawdle Crist." Y mae enwau pob un o'i blant a ddaeth, o Abel hyd y diweddaf a enir o ddynoliaeth, yn ysgrifenedig yn "llyfr ei goffadwriaeth Ef." Ac yno yr arosant hyd oni fforffeti dy hawl i hyny drwy dy weithredoedd dy hun; ac ni elli ei gael oddi yno, hyd nes y pechi yn erbyn yr Ysbryd Glân, a "thywallt gwaed gwirion." Nid oes neb o gredwyr yr ysgrythyrau a ammheua hyn, ac ni cheisia neb rhesymol wneyd hyny. Os felly, ynte, a fu dy Dad mor fanwl o barthed i'th ddyfodiad i'r byd hwn, a gofalu am danat bob awr o'th oes tra yma; ac yn dy alw i gyfrif am dy holl ymddygiadau; ac etto, nad yw o bwys o barthed i'th genedliad? I gyfreithlonrwydd dy genedliad? A adawodd Efe i ti ddyfod yma heb ddal dy rieni yn gyfrifol hefyd am eu gwaith hwy yn dy genedlu, yn gystal ag am eu hymddygiad tuag atat, hyd oni chyrhaeddit oedran cyfrifol, o leiaf? Yr ystyriaethau hyn a arddangosant ryw radd o ddoeth ddybenion ein Tad, yn amgen ar ddynoliaeth i un rywiogaeth o'i greaduriaid, yn gwahardd iddynt ymgymmysgedd nac epiliad (drwy ei esiampl yn priodi ein rhieni cyntaf) ar unrhyw ammodau ereill. Onid oes yma allwedd i'r dirgelwch, amgen a ymddangosa drwy y gyfrol santaidd, o barthed i fanylrwydd coffadwriaeth hanesyddol achau plant Duw, y rhai a briodwyd yn ol cyfraith Duw! Onid oes hynodrwydd neillduol a rhyfeddol yn hanesyddiaeth y llinachau cyfreithlawn hyny? Onid oedd gofalwch hynod rhieni ar y pen hwn, yn awgrymu i ni y pwys-

igrwydd a roddent ar gyfreithlonrwydd eu hachau o barthed i genedliad eu hiliogaeth? Y pwnc yw, onid ardystia Duw y pwysigrwydd canlynol i ddwyfol briodas drwy fawredd, hynodrwydd, a rhagorol gymmeriadau, defnyddioldeb a bendithion ffrwythau lwynau y rhai a briodwyd ganddo Ef? Rhesymol credu mai amcan Duw oedd, nid eppilio a llanw y ddaear â *rhywfath* o rywiogaeth ddynol, nac mewn rhyw ddull ychwaith, ond yn dra mawreddog: ei ddyben, drwy briodi ei blant (ac i bwy arall y rhoes hawl erioed?) oedd, trosglwyddo ei blant o fyd yr ysbrydoedd i'r byd hwn, i fod yn genedl gyfiawn, santaidd, ufydd i'w orchymynion Ef, ac i wneyd y ddaear hon yn deyrnas iddo Ef. I'r dyben hyn, ac fel y delai yr ysbrydion drwy yr achau santaidd a'u dysgent yn ffordd yr Arglwydd, apwyntiodd briodas gwahanol bersonau, a dysgodd eu dyledswyddau perthynol i'r cylch hwnw iddynt, a gwnaeth eu cyfrifoldeb yn hysbys ger eu bron. "Mi a wn am Abraham fy ngwas," ebe fe, "y cadwa efe fy ngorchymynion, ac y dysga i'w blant ar ei ol, ar gadw o honynt orchymynion yr Arglwydd." Mawr y golwg oedd gan ein Tad am ein dygiad i fyny yn *iawn* o'n mebyd! Doeth y drefn a wnaeth i hyny drwy briodas! Eithr, pwy a ŵyr pa fodd i gyrhaedd y ddysgeidiaeth hon yn awr? Atebwn mai y rhai hyny ag a wyddant pa fodd i briodi dynion yn ei gyfreithlonrwydd cyntefig. I hyny y perthyna yn anhebgorol. Annhebyg i Dduw hawlio neb i briodi heb eu cynnysgaethu â'r ddysgeidiaeth berthynol anhebgorol i'r cyflwr hwnw hefyd, megys cynt.

Mewn gwrthgyferbyniad i ddirywiedig, ranedig, andwyol effeithiau canlynol i ffug-briodasau dynol ein daear yn awr,—a'i lwyth o gysgodau, ffug-ddynoliaethol gorfforol—a mil mwy dirywiadol eu moesol gyflyrau croes gredöawl;—yr ymddangosa mawredd, gogoneddusrwydd, a rhagoroldeb sefydliad cywir, a chyntefig, a santaidd ein Duw i boblogi byd! Diau mai i'r ffynnonell hon a'i ffrydiau cyssylltiadol, y gellid olrhain cyfartalwch mawr o'r dirywiad cenedlaethol ag sydd, fel gwynt oddiar y pren Upas yn gwywo, ie, yn lladd yn y blodeuyn, harddaf rosynau ein gardd ddaearol ni! Ac nid yw ei effeithiau andwyol ar feddyliau tyner, ac o ganlyniad ar foreu dyddiau blodau ein byd yn ei wahanol oesoedd, nemawr, os dim, anamlycach.

Os dewisi amlycach olygfa ar effeithiau gau-briodasau ein byd, portreada o flaen dy feddwl un teulu, mor ddedwyddol â chael

tyfu i fyny o dan ddylanwad yr un rhieni, un gyfraith foesol, ac ysbrydol, un rif-res i'r ieuengaf fel yr henaf, ac un ddysgeidiaeth ac esiampl i'r cyfan gan rieni duwiol, heb wrthddylanwad o un rhyw. Yna, eanga y pictiwr, nes y cynnwysa ardal—ardaloedd, trefydd—dinasoedd—byd, o'r un rhyw. Beth a weli? Dim ond darlun o'r byd hwn a *fuasai*, pe na chenedlasid ynddo neb, ond drwy gyfreithlonrwydd priodas iawn. Pa fodd amgen nâ'r effeithiau undebol, rhinweddol, gwrthbleidiol, santeiddiol, a dwyfol ddychymmygol hyn, tra y buasai y rhieni oll wedi dysgu yr unrhyw ddyledswyddau at eu heppil, gan anffaeledigrwydd oddi wrth y ddigyfnewid orsedd briodasol? O! ddarlun hardd! pwy na dymuna weled ei hun a'i deulu anwyl yn ffyddlawn lanw rhyw gylchoedd o hono. Ond er mor felys ei fyfyrio, rhaid galw dy sylw oddiwrtho. At beth? At alarus, alaethus, a gofidus olygfa wrthgyferbyniol ein byd presennol! nid ffug ychwaith, fel y mae y gwaethaf, ond ffaith rhy anwrthwynebol i ammau andwyol effeithiau dirywiad priodasol ein byd! Cau dy lygaid fel nas gweli ei effeithiau mwy, os gelli! Cau dy glustiau rhag dy syfrdanu gan riddfanau ei druenus drancedigion, os medri! Difoda y ffaith oddiar dy feddwl, os gelli, tra y gwaeddi gyda ni â'th holl galon, "O! Tydi, ein Tad, ein cyfreithlawn a'n cyntefig BRIODWR, trugarha wrth y byd priodasol a'i effeithiau anwylaidd, methiantus, a dyoddefus—pura ein byd oddiwrth yr 'halogrwydd' canlynol i'r ffrwd angherddol hon a dorodd dros ei cheulanau, ac a ddiluwiodd ardd flodau a pherlysiau ein byd. Adfera yn ol yr ysgubell a ysguba yr aflendid i ffwrdd fel peiswyn o flaen corwynt. Agora y ffynnonell gyntefig fel y drachtia dynolryw o honi hyd ddigon. Prioda! O, prioda dydi, yn dy ffordd dy hun, dy blant dy hun, megys cynt, rhag gwywo a diflanu o'n hiliogaeth yn hollol i *ryw rywiogaeth arall*!! D. JONES.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 363.]

37. FOD gwrthryfel wedi bod yn mhlith yr ysbrydion rhai'n, sydd yn amlwg oddiwrth yr Ysgrythyrau. Yr Apostol Ioan a ddywed, "A gwelwyd rhefeddod arall yn y nef; ac wele, ddraig goch fawr, a saith pen iddi a deg corn, ac ar ei phenau saith coron. A'i chynffon hi o dynodd darian sêr y nef, ac a'u bwriodd hwynt

i'r ddaear." "A bu rhyfel yn y nef: Michael a'i angylion a ryfelasant yn erbyn y ddraig; a'r ddraig a ryfelodd a'i angylion hithau, ac ni orfuant; a'u lle hwynt nis cafwyd mwyach yn y nef. A bwriwyd allan y ddraig fawr, yr hen sarff, yr hon a elwir Diafol a Satan, yr hwn sydd yn twyllo yr holl fyd: efe a fwriwyd allan i'r ddaear, a'i angylion a fwriwyd allan gydag ef," (Dad. xii, 3, 4, 7, 8, 9). Enw y bod a flaenorai y gwrthryfel hwn, a elwir "Draig," "Sarff," "Diafol," neu "Satan;" y lle ag y dechreuodd y rhyfel oedd y Nef; y personau a ymrwyment gyda'r Diafol oeddynt, "ei angylion," a elwir "sêr y nef;" rhif byddin Satan oedd y "drydedd ran o sêr y nef" neu "yr angylion; y ddeudrydydd ran arall a flaenorid gan Michael; byddin y Diafol a alludiwyd o'r nef i'r ddaear. Rhywrai, efallai, a allant ddychymmygu taw bodau oedd yr angylion hyn wedi eu gwaredu o ryw fyd blaenorol, a gwrthryfela wedi hyn; ond os hyn oedd yr achos ni fyddent yn ysbrydion drwg, ond bodau drwg fyddent a chanddynt gnawd ac esgyrn, ac yn ganlynol byddent yn analluog i fyned i mewn i babellau bodau dynol; ond gan i lawer o honynt fyned i mewn i un person, dengys yn y modd amlycaf taw ysbrydion ydynt. Ereill, efallai, a allant ddychymmygu taw ysbrydion dynion drwg yw yr ysbrydion syrthiedig rhai'n, y rhai a fuont feirw ar ryw fyd blaenorol, a chyrff pa rai ni chyfodwyd erioed; ond ni chydwedda y dychymmyg hwn â'r cynllun a ddilynwyd, gyda golwg ar ddrygionus y greadigaeth hon, y rhai oll ydynt i gael eu cyfodi oddiwrth y meirw, a'u hysbrydion a'u cyrff i gael eu hail-uno; ni chydgordia ychwaith â thystiolaeth yr Apostol Judas, yr hwn a ddywed, "Yr angylion y rhai ni chadwasant eu dechreuad, ond a adawsant eu trigfa eu hun, a gadwodd efe mewn cadwynau tragywyddol, dan dywyllwch hyd farn y dydd mawr," (Judas 6). Y geiriau hyn sydd yn profi mai yr angylion syrthiedig ydynt y cyfryw pa rai oeddynt ar brawf yn eu sefyllfa gyntaf. Nid yw yr angylion yn derbyn cyrff cnawdol hyd oni ddechreuont eu hail sefyllfa, o ganlyniad y cyfryw yn eu sefyllfa gyntaf raid fod yn ysbrydion. Mai ysbrydion oedd yr angylion hyn perthynol i'r greadigaeth hon, ac nid i un flaenorol, a ddangosir oddiwrth y ffaith, eu bod yn cael eu cadw "mewn cadwynau dan dywyllwch hyd farn y dydd mawr." Pe buasent byw mewn cyn sefyllfa, rhagflaenol i'r un lle yr oedd ein hysbrydion ni ar brawf, yna hwy

a farnesid ar fyd blaenorol, ond y mae dydd eu barn hwy etto heb ddyfod, ond a ddaw yn niwedd y ddaear, neu yr amser y bernir drygionus y byd hwn. Os ydynt hwy, gan hyny, i dderbyn barn mewn cyssylltiad â phreswylwyr y ddaear hon, rhaid eu bod wedi ffurfio cyfran o'r un teulu yn y sefyllfa gyntaf, ac nid oedd iddynt ddechreuad o flaen y teulu a fwriadwyd i'r ddaear hon.

38. Wedi dysgu i fod rhyfel wedi bod yn y nef, ymofynwn yn nesaf, pa bryd y diweddodd y rhyfel hwn. Mae'n amlwg iawn fod y rhyfel hyny wedi bod yn y nef wedi i'r ddaear gael ei ffurfio; o herwydd pan fwriwyd y Diafol a'i angylion allan o'r nef, hwy a alltudiwyd i'n daear ni; o ganlyniad yr oedd y ddaear wedi ei ffurfio ac mewn bodoliaeth ar derfyn y rhyfel yn y nef. Yr oedd y Diafol ar y ddaear ar yr amser ag oedd Adda ac Efa yn yr ardd: efe oedd yr hwn a gelwyddodd i Efa ac a'i twyllodd hi; oddiyma y gelwir ef "celwyddwr o'r dechreuad," neu "dad y celwydd." Yn awr, pa un a oedd efe a'i angylion, ar y cyfnod boreuol hwnw, wedi eu bwrw allan o'r nef i'r ddaear, nid yw, yn y cyfieithad Saesneg o'r Beibl, yn cael ei ddadguddio yn eglur. Os nad oeddynt yn barod wedi derbyn eu halltudiaeth o'r nef ar gyfnod syrthiad Adda, rhaid o leiaf, i'r Diafol ddyfod trwy ganiatâd i'r ddaear hon, a myned i mewn i'r ardd; ac os na chymmerodd ei yriad allan le, yr amser hwnw, efe ar ol iddo gwblhau ei ddybenion drygionus yn nygiad oddiamgylch gwymp dyn, a ddychwelai drachefn at ei fyddinoedd yn y nef i'w cefnogi hwynt yn eu rhyfelgyrch aflan a chenfigenus. Ond oddiwrth y dystiolaeth yn y dadguddiadau pa rai a roddodd Duw trwy Joseph Smith, y prophwyd, hysbysir taw Adda oedd Michael. Mae yn rhesymol, gan hyny, i feddwl, i Michael, yr hwn a flaenorai y byddinoedd yn y nef yn erbyn galluoedd y Diafol, barhau y llywiadaeth hyd derfyniad y rhyfel, neu hyd oni alltudiwyd byddin y Diafol i'r ddaear. Gadael ei orsaf, a rhoddi i fyny ei lywiadaeth cyn i'r gelyn gael ei orchfygu, a fyddai yn fuddugoliaeth ranol yn unig, a'r prawf yn y sefyllfa gyntaf a fyddai yn anghwbledig. Dim yn fyr o gyflawn orchfygiad o alluoedd y gelyn, a'u halltudiaeth o'r nef, a roddai gyflawn fuddugoliaeth; dim yn fyr o hyn, a'u hawliai i'r gogoniant o gadw eu sefyllfa gyntaf. Mae yn amlwg, gan hyny, i'r rhyfel yn y nef ddiweddu cyn i Michael adael y nef a chymmeryd corff o gnawd ac esgyrn o dan yr enw Adda.

39. Pa bryd y dechreuodd y rhyfel hwn yn y nef? Yr holl oleuni sydd genym ar y gofyniad hwn sydd yn gynnwysedig mewn dadguddiadau diweddar, ac yn yr hen ddadguddiadau hyny pa rai a ddadguddiwyd o'r newydd i Joseph y Gweledydd. Ni a ddyfynwn a ganlyn o Lyfr Abraham:—"Yn awr, yr oedd yr Arglwydd wedi dangos i mi, Abraham, y dealltwriaethau ag oedd wedi eu rheoleiddio cyn bod y byd; ac yn mhlith yr holl rai hyn yr oedd llawer o'r rhai ardderchog a rhagorol; a Duw a welodd fod yr eneidiau hyn yn dda, ac yr oedd efe yn sefyll yn eu canol hwynt; ac efe a ddywedodd, Y rhai hyn a wnaf fy llywodraethwyr; canys efe a safai yn mysg y rhai hyny ag oeddynt ysbrydion, ac efe a welodd eu bod yn dda; ac efe a ddywedodd wrthyf fi, Abraham, Yr wyt ti yn un o honynt, ti a etholwyd cyn dy eni. Ac yr oedd un yn sefyll yn eu mysg hwynt ag oedd yn debyg i Dduw, ac efe a ddywedodd, wrth y rhai hyny ag oedd gydag ef, Nyni a awn i waered, oblegid y mae lle yna, ac ni a gymmerwn o'r defnyddiau hyn, ac a wnawn ddaear ar yr hon y gall y rhai hyn breswylio; ac nyni a'u profwn hwynt ag hynyma, i weled os gwnant bob peth pa bynag a orchymyno yr Arglwydd eu Duw iddynt; a'r rhai a gadwant eu hystâd gyntaf, a ychwanegir iddynt; a'r rhai na chadwant eu hystâd gyntaf, ni chant ogoniant yn yr un deyrnas gyda'r rhai a gadwant eu hystâd gyntaf; a'r rhai a gadwant eu hail ystâd, a gant ogoniant wedi ei ychwanegu ar eu penau yn oes oesoedd. A'r Arglwydd a ddywedodd, Pwy a ddanfonaf? Ac atebodd un yn debyg i Fab y Dyn, Wele fi, danfon fi. Ac un arall a atebodd ac a ddywedodd, Wele, finnau, danfon fi. A'r Arglwydd a ddywedodd, Mi a ddanfonaf y cyntaf. A'r ail oedd ddigllawn, ac ni chadwodd ei ystâd gyntaf, ac yn y dydd hwnw, lláweroedd a'i canlynasant ef. Ac yna yr Arglwydd a ddywedodd, Awn i waered; a hwy a aethant i waered yn y dechreuad, ac a reoleiddiasant ac a luniasant (hyny yw, y Duwiau) y nefoedd a'r ddaear. Ac yr oedd y ddaear, ar ol iddi gael ei llunio, yn wag ac anghyfannedd, o herwydd nad oeddynt wedi llunio dim ond y ddaear; a thywyllwch a deyrnasai ar wyneb y dyfnder, ac yr oedd ysbryd y Duwiau yn ymddëor ar wyneb y dyfroedd." Yn yr hanes dwyfol hwn, ein hysbysir fod gwrthryfel wedi dechreu yn yr amser ag oedd y llu nefolaidd yn ymgynghori ynghyd, mewn pertbynas i ffurfiad y ddaear hon

a phoblogiad yr unrhyw. Y gwrthryfel, gan hyny, a gariwyd yn y blaen o'r amser y cynnaliwyd y cynghor mawreddog hwn, hyd oni osodwyd sylfaeni y ddaear i lawr, a thebygol hefyd am ryw amser wedi hyny; ond mae'n rhaid mai rhyw amser yn ystod y cyfnod rhwng dechreuad y greadigaeth hon a chwblhad yr unrhyw, yn ddarpariadol i dderbyniad Michael neu Adda, y cafodd Satan a'i fyddin eu gorchfygu a'u halltudio i'r ddaear. Pa cyhyd oedd y cyfnod, yn cyfryngu rhwng amser cynnaliad y cynghor a dechreuad y greadigaeth, ni ddadguddiwyd; gallasai yn unig fod yn gyfnod fach iawn, neu gallasai fod yn filiynau o flynyddoedd. Ac etto, pa cyhyd oedd o ddechreuad y greadigaeth, hyd nes cafodd Satan ei daflu allan, ni ddadguddiwyd; oblegid nis gwyddom ni hyd yr amser oedd yn gynnwysedig yn ngwaith pob dydd, perthynol i'r greadigaeth; nis gwyddom ni ychwaith ar ba un o'r diwrnodau neu'r cyfnodau hyn y taflwyd ef allan.—(*I'w barhau.*)

---

## SEION.

Seion, O mor ddedwydd fydd,
Cael mwynhad o'i breintiau rhydd;
Tâl uwch gwerth trallodion llawr,
Fydd ei mwyniant im' bob awr;
O, doed y dydd caf lwyr ryddhad,
O flin gaethiwed, twyll, a brad,
Lle y gweinyddir cyfraith Duw,—
O dyna'r lle 'rwyf am gael byw.

Gwel, yr heirdd ddyffrynoedd draw,
Gwel eu ffrwythau ar bob llaw;
Aeron ter ei dolydd dwys,
Berarogla'i glenydd glwys:
Fy ngwlad, fy ngwlad yw Seion hardd,
Pob rhyw hyfrydwch ynddi ddardd;
Hoff natur yno'n gwenu sydd;
Fy heddwch yno'n llawn a fydd.

*Llanelli.* Dewi Elfed.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Anrhydedd, enwogrwydd, a holl weithredoedd gwagedd ac uchelgais, a ddiddymir ac a ddinystrir gan amser; ond y mae y gair da o ddoethineb yn barchus gan yr oesoedd dyfodol.

PREGETH ANGLADDOL.—Ebe yr offeiriad yn ddiweddglo ar bregeth gampus ar Farwolaeth,—" Eithr er hyn oll, anwyl wrandawyr, marwolaeth, er nad pa mor haeddiannol i ddynolryw o herwydd eu pechodau, trwy ddoeth ragluniaeth a mawr gariad ein Tad nefol at ei greaduriaid, a osododd efe ar *ddiwedd* ein heinioes; O ddoethineb! ac iawn-drefniad! Canys ystyriwch, fy ngwrandawyr, pa werth fuasai ein hinioes i ni pe gosodasid marwolaeth ar ei dechreu yn lle ar ei diwedd."

DYWEDIR fod dros ddeng mil o lanaf greaduriad daear, angelesau daearol!—a greodd eu Tad i fod yn rosynau harddaf a mwyaf peraroglaidd ein paradwys ni, wedi troi yn ddanadl poethion i losgi meibion y fall, ac i ddrewi yn ffroenau trigolion Llundain, ar hyd ei heolydd *cristionogol* hi ddydd a nos! Heria Tiriogaeth Utah y byd, drwy fanwl chwilio i gael allan wreiddyn na changen o'r rhywiogaeth hon o ddanadl, nac un butain yn mhlith ei thrigolion hi! Pa wlad "Gristionogol" drwy'r byd a'i hammheua, neu a'i hefelycha?

DARLUN YR HENURIAD TAYLOR.—Mae cryn lawer o gopiau o'r darlun hwn yn aros ar law y brawd Morris, a dymunir cydymdrechiad y cynnadleddau er eu gwerthu. Gobeithiwn y gwna pawb eu goreu tuag at hyn. Cofier hefyd am ddarlun ardderchog y Brif-lywyddiaeth a'r Deuddeg; dim ond ychydig sydd ar law, 10s yr un.

---

TALIADAU O FEH. 17 HYD MEH. 23.—Dinas, 7s 9c; Aberdâr, £1; Rymni, £1 5s 5c; Georgetown, 5s 10c; Merthyr, £1 3s 2c; Pendaren, 2s 6c; Ffynnon-Tydfil, £2 10s; Troedyrhiw, 2s; Llanfabon, 6s 7c.—Cyfanswm, £7 3s 3c.

AT Y DOSPARTHWYR.—Anfonwn gyda yr Udgorn hwn gofres newydd o Lyfrau ar werth. Gobeithiwn y gosodir y papyrau hyn mewn lleoedd cyhoeddus, gan ddileu yr hen bapyrau. Fe ddylai yr holl ddosparthwyr gadw rhywfaint o lyfrau ar law o bob math, fel na fyddo eisieu i'r prynwr aros am eu cael o Ferthyr. Credwn y gwerthid braidd cymmaint arall o lyfrau, pe dangosai pob dosparthwr y gwahanol lyfrau sydd genym ar werth, ar ddiwedd y cyfarfodydd. Hyderwn yr edrychir at hyn.

☞ Hysbysir ni gan yr Henuriad John Parry, y cynnelir Cymmanfa Gyffredinol yn Neuadd y dref, yn Llanrwst, ar y 3ydd a'r 4ydd o'r mis nesaf, a dysgwylir y brodyr Phillips a Daniels i fod yn bresennol. Dymunir ar gymmaint ag a allo o'r Saint i ddyfod yno.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

[DIWEDD Y BUMMED GYFROL.]

J. DAVIS, ARGRAFFYDD, MERTHYR-TYDFIL.

# UDGORN SEION,

NEU

# SEREN Y SAINT;

YN CYNNWYS

EGWYDDORION "GORUCHWYLIAETH CYFLAWNDER YR AMSEROEDD,"

MEWN

TRAETHODAU, LLYTHYRON, HANESION, PRYDYDDIAETH, &c.

"Nyni a iachasom Babilon, ond nid aeth hi yn iach; gadewch hi, ac awn bawb i'w wlad; canys ei barn a gyrhaedd i'r nefoedd, ac a ddyrchafwyd hyd yr wybrau."—JER. LI, 9.

"Dring rhagot, yr efengyles Seion, i fynydd uchel."—ESA. XL, 9.

## CYFROL VI.

---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD, CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN J. DAVIS, HEOL JOHN, GEORGETOWN.

1853.

# RHAGYMADRODD.

---

Anwyl Ddarllenwyr,—Dyma y chwechfed gyfrol o Udgorn Seion wedi ei gorphen, a dyma ninnau yn terfynu ein goruchwyliaeth. Mae y gyfrol hon, a'r un flaenorol, wedi eu llanw yn fwyaf neillduol gan draethodau enwog yr Henuriad Orson Pratt, yr hwn, feddyliwn, yw athronwr penaf yr oes. Achosodd hyn i ni fethu cyhoeddi amryw draethodau oddiwrth ein gohebwyr, ac yn neillduol y cyflawnder mawr o brydyddiaeth a arosa ar ein dwylaw. Mae ein brodyr hyny wedi dangos ffyddlondeb, a drwg genym na allasem gyhoeddi yr oll a farnasom yn deilwng o le. Gobeithiwn y bydd ein canlynydd yn gallu boddio ein cyfeillion yn well.

Diolchwn, dros yr Eglwys, am bob cefnogaeth a roddwyd i'w Hudgorn, ac erfyniwn fendith Duw ar bawb a wnaethant eu goreu drosto.

Yn awr, canwn yn iach i bawb, a dymunwn ran yn ngweddiau ein brodyr a'n chwiorydd oll, er cael y fraint o gyrhaedd Seion yn ddiangol; a ninnau addawn weddio drostynt hwythau yn ol. Yr Arglwydd grasol a'n bendithio oll, hyd byth bythoedd, yn enw Iesu Grist. Amen.

Yr eiddoch yn ostyngedig,

John Davis.

*Merthyr, Rhagfyr* 26, 1853.

# CYNNWYSIAD.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 1.] GORPHENAF 2, 1852. [CYF. VI.


### ANERCHIAD Y GOLYGYDD AT Y SAINT.

ANWYL FRODYR,—Wele ni yn cael cyfleusdra newydd etto i'ch anerch ar ddechreuad cyfrol o'r UDGORN; ac yr ydym wedi gwneyd hyny mor aml nes y mae wedi myned o'r diwedd yn arferiad nad allwn braidd ei roddi heibio. Dymunwn i chwi y tro hwn, fel o'r blaen, heddwch a ffafr Duw, a dyhidled ei fendithion arnoch ddydd a nos. Ni allwn ddymuno dim yn rhwyddach nâ daioni i'r Saint: hyny yw hoff waith ein calon, hyny sydd yn llanw ein bryd. Bydded i'r Saint fod yn awyddus i gyflawni ewyllys yr Arglwydd, ac ni attalia efe roddi iddynt o fendithion y nef a'r ddaear, ac ni ommedd ychwaith eu dwyn adref i Seion. Gweddiwn, ynte, ar ein Tad am roddi cymhorth i ni i'w wasanaethu wrth eu fodd, fel y teilyngom bob peth oddiar ei law.

Gwelwch, frodyr, fod yr UDGORN yn dyfod i ymweled â chwi etto yn wythnosol, fel arferol, ac ar yr un gost hefyd, a gobeithio y caiff dderbyniad da, a galwad mawr ychwanegol am dano cyn diwedd y flwyddyn. Gwelwch pa gymmaint gwell yr edrycha: onid yw ei olwg yn tynu eich sylw yn fwy nag oll. Mae yn ddiau genym yr udgana bethau dymunolach nag erioed yn y tymmor udganu hwn, o herwydd mae yr udganwr presennol allan am y tro diweddaf, a diau y teimla i chwilio am y pethau goreu i gyhoeddi am Seion, fel na syrthio i anmharch yn niwedd ei ddydd llafur ar faesydd Babel. Erfyniwn gynnorthwy mawr trwy weddiau y Saint: y rhai hyny,

wedi eu hateb, yw ein nerth penaf ni; nid ymddiriedwn mewn dim, ond a gawn oddiwrth Dduw. Ymwrolwch chwithau, Saint, am Ysbryd yr Arglwydd; byddwch fyw wrth ei oleuni, fel y dealloch y pethau hyfryd a udgenir etto drwy yr Udgorn, ac a ddangosir gan y *Seren*, yn yr amser sydd yn dod. Yfwch yn barhaus o ysbryd eich Heglwys, fel yr eloch yn fwy sychedig am dano, ac y gorfyddir eich dwyn o'r diwedd i dŷ Dduw yn Seion i gael eich gorlenwi. Edrychwch na sathroch ar y pibellau sydd yn cludo bywyd i chwi; a gofalwch na ruthroch i gau pyrth a garant fod yn wastadol yn lled y pen rhyngddoch â'r nefoedd, er i chwi dderbyn Ysbryd Duw, a gwên ei wyneb, a chael cyfleu i deithio tuag ato. O, byddwch ddoeth, ac ystyriwch ffyrdd yr Arglwydd: ymhyfrydwch i'w wasanaethu ef, ac na chollwch eich gwobr. Bydded y byd hwn a'i bethau megys gwagedd yn eich golwg, a dyrchafer eich golygon i edrych ar nefoedd a daear newydd, y rhai ydynt yn ein haros oll, os meddwn obaith i'w mwynhau. Cariad Duw a lanwo ein mynwesau; a chynnydded fflam y cariad cyntaf, nes y teimlom mai yr Arglwydd a'n pïa ni a phob peth. Yna dedwydd a fyddwn, oblegid gofal Duw a fydd yn ddeublyg drosom; a phwy a ddichon ein niweidio? Felly y byddo, trwy Grist. Amen.

---

## NAWFED EPISTOL CYFFREDINOL

*Llywyddiaeth Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, o Ddyffryn y Llyn Halen Fawr, at y Saint gwasgaredig trwy yr holl ddaear, yn anfon anerch:—*

Anwyl Frodyr,—Gyda theimladau cyffrous neillduol o ddiolchgarwch i'n Tad nefol, yr ydym yn eich anerch yr amser yma; cyfnod, yn hanesyddiaeth yr oruchwyliaeth ddiweddaf hon, ar yr hwn y gosodir pen congl-feini Tŷ yr Arglwydd yn mhenau'r mynyddoedd, yn unol â rhag-ddywediadau yr hen brophwydi; ac ar y pryd a grybwyllwyd yn flaenorol genym ninnau.

Tra mae symudiadau y nefoedd a'r ddaear, ynghyd â'r holl bethau cyssylltiedig â hwynt, yn arwyddo fod y gweledigaethau, y dadguddiadau, a'r prophwydoliaethau, ynghylch y dyddiau diweddaf, yn cael eu cyflawni yn gyflym, yn ddarpariadol i

ail-ddyfodiad Mab y Dyn, yr ydym yn llawenhau ddarfod i Dduw Abraham barotoi ymguddfa i'w bobl, yn nghanol dyffrynoedd y bryniau tragwyddol, yn yr hwn le y caniatäwyd i ni drigo mewn diogelwch, am ychydig flynyddau, wedi ein symud yn mhell oddiwrth y tân a'r gwaed a dywalltwyd allan ar y Saint mewn blynyddau blaenorol, gan y rhai hyny nad oeddynt yn ofni Duw, na chwaith yn parchu dyn.

Nis gwyddom ond am ychydig bethau neillduol a ddygwyddasant yn mhlith amrywiol genedlaethau y ddaear, gwedi ein Hepistol diweddaf, Hydref 13; eithr gwyddom fod dadguddiadau Iesu Grist yn wirionedd, ac y cymmerwyd heddwch oddiar y ddaear; ac y bydd y rhai hyny na dderbyniont ac na ufyddhäont i efengyl Iesu Grist, pan ei clywant, fyned yn waethwaeth, mewn nwydau drwg, amryson, rhyfel, a gwaed, hyd nes i'r drygionus ddymchwelyd y drygionus, a dinystrio eu hunain oddiar wyneb y ddaear, fel y byddo i'r Iesu gael y rhagorfraint o deyrnasu, heb aflonyddwch, yn nghanol y rhai a'i carant.

Nis derbyniwyd llythyr-gerbyd o'r dwyrain er ys Tachwedd diweddaf, ac attelir rhan o hono hyd yma, yn y mynyddoedd; tra llusgwyd y rhan arall dros y lluwch eira gyda llaw; ac nid oes genym hysbysrwydd sicr hyd yma pwy a etholwyd ddiweddaf yn Llywydd yr Unol Daleithiau, neu pwy yn awr sy Lywydd y genedl.

Yn ystod y dystawrwydd maith hwn, derbyniasom ddau lythyr-gerbyd o California, trwy yr hynt ddeheuol, yn cynnwys ond ychydig iawn o newyddion. Dengys ychydig lythyrau oddiwrth amryw genadon tramor, ychwanegiad at yr Eglwys, a lledaeniad yr Efengyl, oddigerth yn yr Ynysoedd Cymdeithasol, o'r rhai yr alltudiwyd yr henuriaid gan yr awdurdodau Ffrengig, ac y gwaharddwyd i'r Saint weddio, hyd y nod yn eu tai eu hunain. Dychwelodd yr Henuriad Addison Pratt, ac ereill, i'r cyfandir. Mae yr Henuriad Cannon yn cyfieithu Llyfr Mormon i iaith Owyhëa. Alltudiwyd yr Henuriad Woodard o'r Eidal, am ddysgu gwirionedd, ac aeth i Switzerland; yn unol â'r gorchymyn a roddodd yr Iachawdwr i'w ddyscyblion a anfonwyd i bregethu yr Efengyl, pan eich erlidiant mewn un lle, ffowch i le arall. Goddefodd y brodyr yn Denmark erlidigaethau chwerw, ond y mae y gwirionedd yn ymledaenu yn mhob cyfeiriad.

Daeth ein poblogaeth mor liosog, a'n sefydliad mor eang, fel nas gallwn roddi cymmaint o ddygwyddiadau ac amgylchiadau neillduol ag a arferasom hyd yn hyn. Yr holl Saint ffyddlawn, a llawer sydd o'r cyfryw, ydynt wedi eu llenwi ag ysbryd heddwch, llawenydd, a gorfoledd; canlynwyd eu llafur yn y dyffryn, gan lwyddiant cyffredinol o'u dyfodfa foreuaf, ac nid ydynt yn ewyllysio newid eu sefydliad am urnhyw gyfran arall o'r ddaear, neu hyd y nod i'w adael dros ychydig amser, oddigerth pan eu hanfonir gan awdurdod cyfaddas i bregethu yr Efengyl.

Megys ag y bu yn holl oesau yr Eglwys, felly y mae yr awr hon (ac y bydd yn parhau tra casglo y rhwyd bob math o bysgod), ceir aelodau anffyddlawn, a chanddynt enw o fod yn fyw, eithr meirw ydynt; a chan mai amddifad o ffydd, amddifad ydynt o weithredoedd da; canfyddwyr gwallau, enllibwyr, drwg-dybwyr, prophwydi gau, gwrthgilwyr, a'r oll o'r fath, ydynt ddeiliaid priodol i'r mwn-gloddiau aur, i'r hyn leoedd, mae yn debyg, yr â gan amlaf o honynt, *a gobeithio yr ydym yr â yr oll o'r fath y gwanwyn hwn*; a'r oll a ofynwn ganddynt yw, ar iddynt dalu eu dyledion, myned mewn heddwch, a dewis y duw a fynont i'w addoli.

Llwyddwyd y Saint yn ddirfawr yn y dyffryn, a'r cyflawnder a dywalltwyd allan arnynt, hyd nes nad oedd lle i'w derbyn, a wnaed yn achlysur syrthni a gwastraff, i'r fath raddau ag y bydd mwy prinder blawd cyn y cynauaf, nag a fu am flynyddoedd o'r blaen. Gyda'r pethau hyn nid yw yr Arglwydd foddlawn, ac os na bydd i'r cyfryw ddiwygio yn fuan, canfyddant newyn yn lle digonedd o fewn eu trigfanau.

Mae llaw-weithfeydd cartrefol yn gwella, ond nid mor gyflym ag y dymunwn. Melinau llifio a malu ŷd a gynnyddasant yn chwyrn o fewn yr amryw sefydliadau, eithr nis gallant gydgerdded â'r cais sydd am flawd, ac yn neillduol am goed. Tannerdai ydynt yn gwella yn raddol, a chynnyrchwyd gryn lawer o ledr. Ein gweithdai hoelion a ânt rhagddynt yn arafaidd. Dechreuwyd gweithdŷ cribau. Argoelir yn amlwg y rhagora y cribau tyner a wneir o *fahogany* ein mynyddoedd, fel nad angenrheidiol ifori. Llaw-weithwyr o bob math ydynt yn eisieu i raddau eangach, ynghyd â pheiriannau at arbed llafur, yn neillduol i'r amaethwr, fel y gallo y tyddynwr godi

grawn, a phob celfyddydwr ddilyn ei gelfyddyd ei hunan.

Y mae gobaith boddhäol y diwallir y drygau hyn yn fuan, trwy ein cynnorthwyo gyda nwyddau heyrn, yn eu hamrywiol ffurfiau, o Swydd Haiarn. Dygodd un chwythiad byr y ffwrnais bum cant ar hugain o haiarn perchyll rhagorol, pan ballodd y chwythu o anghen glo. Yr eira yn ddyfnach nag arferol ar y mynyddau y gauaf a aeth heibio, a rwystrodd ddygiad coed a glo o'r *kanyons*. Dangoswyd pâr ardderchog o haiarn llaw yn y gymmanfa, megys blaenffrwyth y gweithdy haiarn.

Cwblhäwyd yr ychwanegiad mawr a wnaed at ystôr-dy yr Arglwydd, ynghyd ag ystor-dai yn gyffredinol yn yr amryw sefydliadau. Ychwanegwyd llawer o beiriannau gwerthfawr at weithdy y Deml. Mae gweithdy ëang y gofaint, y seiri, a'r peiriannau, ar y Temple Block, lle y mae holl lafurwaith y Deml i gael ei gyflawni, o fewn y waliau, a gwaith ceryg yr hon sydd oddeutu un ran o bedair yn orphenedig. Yr oedd y Neuadd Gymdeithasol wedi ei chwblhau gan belled, fel ag i'w meddiannu gan bleidiau cymdeithasol, ac y rhoddwyd difyrwch chwareyddol o'i mewn y gauaf a aeth heibio. Cyssegrwyd hi Ionawr 1af.

Deuodd ein peiriant siwgr yma yn rhy hwyr i'w ddefnyddio yr hydref diweddaf; mae cyfran o hono yn gyssylltiedig yn awr â dwfr-waith y gweith-dy peiriannol cyhoeddus, ac arferir ef i wneuthur triagl. Cawsom ymbrawf fod defnydd siwgraidd y betysen (*beet*), yn rhagori yn y dyffryn; mae genym yr offeryn a moddion i wneuthur amryw felysderau y triagl yn siwgr coethedig, a llëolir y gweith-dy ger Big Kanyon Creek yn barod i waith yr hydref nesaf.

Ionawr 21ain, cyfododd y deddfwyr oddiar eisteddiad gorchestol o 40 dydd, a siriolwyd hwy gyda difyrwch cymdeithasol a dedwydd gan y Llywodraethwr ar yr unrhyw brydnawn. Ufyddheir i gyfraith yn gyffredin; anaml y trafferthir ein llysoedd barn gyda chŵyn cyfreithiol. Teithwyr a amrafaeliant yn achlysurol, gyda naill y llall, ac a geisiant gytundeb cyfreithiol; a phe heb hyn, ein llysoedd barn a fyddent braidd afreidiol, am nad oes achlysur i'w harfer. Cadwodd yr Indiaid eu perthynas heddychol â'u gilydd, ac â'r dinasyddion yn gyffredinol. Ni ddygwyddodd cythrwfl difrifol neu barhaus y

tymmor a aeth heibio, a thuedd at heddwch a chodi bara sy'n cynnyddu.

Yr hysbysiad olaf oddiwrth yr Henuriaid a aethant allan yr hydref diweddaf, oedd eu tiriad yn St. Louis, mewn 60 dydd wedi eu hymadawiad. Y rhai oeddynt i fyned i China, Hindoostan, Awstralia, a'r Ynysoedd Gorllewinol, a aethant ymaith yr 20fed o Hydref, ac ar ein dyddiad diweddaf, yr oedd agos yr oll wedi eu llonglogi o San Francisco.

Y rhew tost cyntaf yn yr hydref diweddaf oedd ar y 4ydd o Dachwedd, a'r eira cyntaf i doi y llawr yn y ddinas oedd ar y 10fed, dair modfedd ei ddyfnder; ac un arall ar y 23ain, o 1 i 2 droedfedd Y gauaf a fu oer a thymhestlog, gyda llawer o wyntoedd nerthol. Chwefror a fu dra thirion. Mawrth, ar y cyffredin, a fu yn dra theg, a llawer a wnaed mewn hwsmoniaeth ac mewn garddwriaeth. Traws-blanwyd, yn y Gwanwyn hwn, lawer o goed ieuainc a ddygent ffrwyth, a miloedd a gawsent eu hychwanegu, pe gallesid eu cael. Cofied y Saint yn feunyddiol am ddwyn pob math o hâd dewisedig gyda hwynt, o holl barthau y ddaear.

Dychwelodd yr Henuriaid Amasa Lyman a Charles C. Rich, ar y 19eg o Ragfyr, a Chorwm y Deuddeg Apostol a dreuliasant y gauaf yn y Dyffryn, oddigerth Orson Pratt, yr hwn sydd yn Washington.

Chwefror 14eg, yn ngwydd tyrfa aruthrol o bobl, yn cael ein cynnorthwyo gan y Deuddeg Apostol ac ereill, torasom y llawr i sylfaenu y Deml; ac ar y dydd canlynol dechreuwyd darpariadau i adeiladu Arf-dy.

Ionawr 11eg, bu farw y chwaer Hosea Stout, a'i baban ychydig ddyddiau cyn hyny; a'r chwaer Thomas Rhoads ar yr 11eg o Chwefror. Nid ydym yn cofio unrhyw farwolaethau ereill yn nheuluoedd yr Henuriaid cenadol. Ceir peth anhwyldeb yn y Dyffryn, ond y mae yn codi oddiar hadau hen afiechyd a ddygwyd o wledydd tramor, ac oddiar annoethineb, yn fwy nag oddiar unrhyw beth afiachus yn ein hinsawdd neu sefydliad.

Parotowyd y dryll maen a fwriadwyd gan Ddeddfwyr Deseret, tuagat gof-golofn Washington, arddangoswyd y cyfryw yn y gymmanfa hon, a ni a'i hanfonwn yn mlaen i Washington y cyfleusdra cyntaf a gaffom. Y ddyfais yw cwch gwenyn, yn

llawn gwaith, yn y canol, yn amgylchynedig gan y dirwyndröadau, &c., gyda yr arysgrifen, "Santeiddrwydd i'r Arglwydd. Deseret."

Y chweched o Ebrill a wawriodd ar ein dinas, gyda holl ddysclaerdeb hawddgar boreu gwanwynol, fel pe buasai goleuad gloywaidd y dydd, yn gysgodol o Haul y Cyfiawnder, ac yn ymyl agor i fyny *oruchwyliaeth newydd* ar wyneb ein ciriog orchuddiedig Ddyffryn creig-gylchog. Dydd hawddgarach ni wawriodd erioed ar ddaear; ymddangosai yr haul, yr wybren, yr awyrgylch, a'r ddaear, heb fod na rhy oer, na rhy boeth, neu glaiar; eithr ymddangosai yr oll wedi ei orlenwi â *bywyd*, GWIRIONEDDOL FYWYD; cyfaddasol yn eu holl amrywiol dymmorau i bob enaid, i loni a gwneuthur yn ddedwydd bob un o'r llawer miloedd, yn oedranus, yn ganol oed, ac yn ieuainc, a gydymgasglasant o agos ac o barthau pellenig ein Dyffryn cyfanneddol hwn, i gadw y Gymmanfa gyffredinol a blynyddol, ac i fod yn dystion o osodiad congl-feini Tŷ yr Arglwydd, yr hwn a rag-ddywedwyd am oesoedd gan y prophwydi y caffai ei adeiladu i "enw Duw Jacob, yn *mhen y mynyddoedd.*"

Mor orfawr oedd cynnulliad y Saint ar agoriad y Gymmanfa, am 10, yn y boreu, fel nad oedd dyfodiad i mewn neu fynediad allan bum cant ar hugain yn y Tabernacl, ond prin i'w colli neu i dynu sylw y torfeydd o'r tu faes. Gwedi agor y Gymmanfa trwy ganu a gweddio, yn y Tabernacl, awdurdodau cyffredinol yr Eglwys a aethant tua llawr y Deml; yn cael eu hamgylchynu gan amddiffynwyr, gosgorddion, ac hedd-geidwaid, miwsig milwraidd, côr ag offerynau cerdd, a chyd-gor; gyda y lluman cenedledig wedi ei ddadblygu o ben uchaf ei gynnal-ffon; llumanau yr amrywiol gorau ac amddiffynwyr a nofient yn yr awel; a baniar "*Gweithwyr Seion,*" a ymddyrchafai yn uchel iawn; ac ar ol canu gan y cyd-gor, y Llywyddiaeth gyntaf a osododd Gonglfaen Deheu-ddwyreiniol y Deml, yr hyn a ganlynid gydag araeth gan y Llywydd Young, gweddi gan y Llywydd Kimball, a chanu gan y cyd-gor.

Yr Esgob Llywyddol a'i Gynghor, gyda llywyddion yr Offeiriadaeth leiaf a'u Cynghor, a osodasant y Gonglfaen Ddeheu-orllewinol: Llywydd a Chynghor Corwm yr Archoffeiriaid, gyda Llywydd yr estynfa hon o Seion, a'r Uchel Gynghor, a osodasant y Gonglfaen ogledd-orllewinol.

Corwm y Deuddeg Apostol, gyda llywyddiaeth gyntaf y Deg-a-thrugain, a Llywydd a Chorwm yr Henuriaid, a osodasant y Gonglfaen ogledd-ddwyreiniol. Dilynid gosodiad pob Conglfaen gydag araeth, gweddi, a chanu, yn yr un drefn ag y gwnaed wrth osod y gonglfaen Ddeheu-ddwyreiniol; ac y mae yr holl areithiau, gweddiau, a'r hymnau hyny mewn argraff, fel cyfran o gof-nodau y Gymmanfa, a chanlynant yr Epistol hwn, yn y rhifyn nesaf o'r "*Deseret News.*"

Mae y Conglfeini yn awr yn gorwedd yn eu hamryw sefyllfaoedd, oddeutu un droedfedd ar bymtheg o dan arwyneb y boncyn dwyreiniol, islaw cyrhaeddiad dylifiad y mynyddoedd, pan y cwblheir yr adeilad, ac mor ddwfn islaw yr arwyneb, fel y rhaid i yspeilwyr a gwerin-derfysgwyr gymmeryd gormod o drafferth i'w dinystrio hyd i'w sylfeini, heb adael un gareg ar y llall, fel y gwnaethant â'r Deml yn Jerusalem.

Mae y gwaith er prynedigaeth ac iachawdwriaeth Israel wedi dechreu, fel pe o newydd, ar y ddaear, yr hyn sydd yn gwneuthur satan yn wallgof, ac yn achosi i ddiafliaid udo; eithr ni ofalir am eu galarnadau cwynfanus gan y Saint yn y mynyddoedd; adlonir eu calonau at ymestyn yn mlaen gyda eu holl rymusder, i orphen Tŷ yr Arglwydd mor fuan â byddo modd; a'r holl Saint ar wasgar, yn awyddus am ddyfod yn gyfranogion o'r bendithion yn Nhŷ yr Arglwydd, gyda y Saint sydd yn y Dyffryn, er na allant ddyfod yn fuan i weithio yn bersonol, a allant trwy un ymdrech, a thrwy ond un yn unig, fedi bendithion eu dymuniadau; a hyny sydd, trwy fod yn ostyngedig, cadw yr holl orchymynion, a bod yn ddiwyd mewn gorchwyl. Casglwch i fyny bethau da y ddaear mor fuan ag y gallwch, mewn uniondeb, ac anfonwch eich aur, a'ch arian, eich meini gwerthfawr, a phob peth a fedroch eu hebgor, a ddichon fod yn ddefnyddiol i ni tuag at ddwyn yn mlaen y gwaith a ddechreuasom; a bydded i'r oll a allont, ddyfod adref heb ymoedi, a dodi eu *dwylaw eu hunain wrth y gwaith.*

Os yw breninoedd daear am ddyfod yn dadmaethod, a breninesau am ddyfod yn fammaethod i Israel Duw, ac os yw pendefigion a'r rhai mawrion ar y ddaear, am sicrhau cysgodfa rhag yr ystorom a'r dymhestl, a'r pläau, a'r tân, a'r cleddyf, a achosa Duw eu myned trwy yr holl diroedd, i ddiboblogi y cenedloedd, oblegid eu mawr ddrygioni yn ei ŵydd; bydded iddynt,

gyda'r Saint o *bob hinsawdd*, anfon eu trysorau cyfoethog i brydferthu ac addurno Tŷ yr Arglwydd; fel y caffo le hyfryd i osod ei ben i lawr ar y ddaear, ac â'r hwn y dichon i'r breninoedd a'r breninesau, a'r pendefigion hyny, ymhyfrydu talu ymweliad; ac yn yr hwn le y dichon iddynt ymorphwys mewn heddwch, a dysgu ewyllys y nefoedd o'u plegid, trwy ymofyn â gweision y Goruchaf Dduw yn herwydd eu teyrnasoedd.

Mae y Drysorfa Ymfudol Barhaus mewn cyflwr llwyddiannus; er nad oes, o herwydd amgylchiadau ogylch iddi, ond cyfran fechan yn effeithiol at ei roddi mewn gweithrediad y tymmor hwn. Nid yw ond tair blynedd a hanner er pan grybwyllwyd gyntaf am y drefn hon at gynnorthwyo y Saint i ymgynnull; a mynegiad y Cyhoeddwr, yn y Gymmanfa hon, a arddengys fod y drysorfa o werth, yn awr mewn cof-ysgrif, yn y lle hwn, oddeutu 22,000 o ddolars, ond y mae gryn lawer o honi yn ychen, a phedrolfeni, a meddiannau, yr hyn a gymmer hyd i dymmor arall at droi i ennill; hefyd, y mae oddeutu 11,500 o ddolars yn ychwanegol at yr uchod, yn ddyledus oddiwrth bersonau, y rhai a gynnorthwywyd gan y cwmpeini, yn gwneuthur cyfanswm o oddeutu 34,000 o ddolars, yn annibynol o'r hyn a gasglwyd yn Lloegr, a lleoedd ereill, yn ystod y chwe mis diweddaf, o'r hwn ystod nid oes genym gyfrif.

Gyda bendithion Rhagluniaeth, dygir allan gan mwyaf neu yr oll o'r trysorfeydd hyn i gynnorthwyo ymfudiad y tlodion, yn mhen un flwyddyn etto: gan hyny, na fydded i'r Saint attal eu dwylaw, ond agorer llyfrau, a derbynier cyfraniadau gan Lywyddion yr holl amrywiol genadiaethau a berthyn i Saint y Dyddiau Diweddaf, ar yr holl ddaear, i gynnorthwyo y Drysorfa Ymfudol Barhaus, er i'r Saint ddyfod adref; a deled yr oll a allont heb ymoedi, ac nid aros i gael cymhorth y trysorfeydd hyn, eithr ei gadael i gynnorthwyo y rhai na allant gynnorthwyo eu hunain.

Penodwyd pump-ar-hugain o henuriaid ar amrywiol genadiaethau, yn ystod y gymmanfa sydd newydd ddarfod; sef, 2 i China; 2 i'r Unol Daleithiau; 21 i Loegr neu Ewrop, a'u henwau a ymddangosant yn nghof-nodau y Gymmanfa. Bydd i'r henuriaid hyn gyd-weithredu gyda yr henuriaid sydd eisoes yn y gwahanol wledydd i'r rhai y maent yn myned, ac yn ddarostyngedig i gynghor y Llywyddiaeth a sefydlwyd eisoes, yn eu

hamrywiol sefydliadau. Y rhai a fwriadwyd i Ewrop, a dramwyant drwy y South Pass a'r Unol Daleithiau; ac â y rhai i China, trwy Galifornia; a bydd i'r oll gychwyn yn mhen ychydig ddyddiau, neu wrthgilio.

Bu yr Ysbryd Glân yn ein mysg, a dadguddiadau Iesu Grist yn arwain ei apostolion a'i brophwydi, yn sylfaeniad conglfeini y Deml, ac yn ngwasanaeth y Saint, trwy ystod y Gymmanfa, i radd anarferol; yr hyn a barodd ehelaeth ddyddanwch calon, gyda llawenydd mawr a gorfoledd; a bydd i'r unrhyw Ysbryd ganlyn ein Hepistol hwn, a chaiff ei deimlo, a'i brofi er llawenydd i'ch calonau, hyd y nod gan yr oll a dderbyniant ein tystiolaeth, ac a ymarferant â'r gorchymynion hyny a addysgwn.

Bydded i'r holl henuriaid a anfonwyd allan ar genadiaethau i wledydd tramor, fawrhau eu galwedigaeth uchel a chysseg-redig, mewn gair a gweithred, a bod yn *siampl i bob dyn.* Dysg-wch *egwyddorion cyntaf yr Efengyl*; a chan belled y credo dynion eich tystiolaeth, gweinyddwch ordinhadau cyntaf bywyd ac iachawdwriaeth; a phan y byddo arnynt eisieu gwybod ychwaneg, anfonwch hwynt adref: dywedwch wrth-ynt mai Seion yw y lle iddynt i dderbyn yr addysgiadau hyny nad oes genych chwi yr amser i'w dysgu, yr hyn hefyd ni pherthynant i'ch cenadwri; ac na chymmerwch arnoch i ddysgu dirgeledigaethau am y dyrchafiadau, a galluoedd y bydoedd a ddaw, ac am fywydau tragywyddol, oddieithr fod arnoch eisieu colli yr oll o'r ychydig hawl i fywyd tragywyddol a ddichon fod genych.

Na feddyliwch, O! chwi Henuriaid Israel! fod eich etifedd-iaeth dragywyddol wedi ei hennill, ac wedi ei sicrhau yn ang-hyfnewidiol, o herwydd i chwi gyrhaedd cyfran o'r Offeiriad-aeth Santaidd, ynghyd ag ychydig o'i hordinhadau cychwynol, tra hyd yn hyn, nid yw eich bywyd, a'r sicrwydd am yr oll o'ch bendithion mawrion a gogoneddus mewn gobaith a dysgwyliad, ond megys tarth o flaen yr haul; fel pe yn ym-ddibynu yn hollol ar eich addfwynder, ffyddlondeb, a dyfal barhad hyd y *diwedd*, yn *mhob peth da.* Na feddyliwch fod genych hawl cyfreithlawn hyd y nod i *un wraig*, tra y byddoch byw ar y ddaear hon, oddigerth eich *selio i fyny* i *fywydau tra-gywyddol*, trwy ewyllys ac *arfaeth* y *Tad Tragywyddol*; ac i wybodaeth o'r ffaith gael ei hysbysu i chwi, trwy y *ffynnonell*

*briodol*, ac nid yn *uniongyrchol* i *chwi* yn *bersonol*; ac ystyriwch y bydd i'r bendithion a dderbyniasoch hyd yn hyn, trwy drugareddau yr Hwn a'ch carodd, ïe, eich Tad yn y nef, gael eu *troi* oddiwrthych, fel yr eiddo *Dafydd* gynt, os y cyfeiliornwch megys ef.

Wrthy chwiorydd yn Israel y dywedwn, byddwch amyneddgar. Os bu farw eich gwr yn y ffydd, a chwithau yn ewyllysio eich selio iddo ef am dragywyddoldeb, rhaid i chwi ddyfod i Seion i dderbyn y cyfryw ordinhadau seliedig; ac os dywed archoffeiriad, neu henuriad, wrthych chwi, na ddichon i chwi fod yn gadwedig os heb eich selio iddo ef, naill ai fel dirprwywr, dros amser, neu dros dragywyddoldeb, i gauad allan eich marw, gwthiwch ef o'ch presennoldeb, fel y gwthiwyd Lusiffer o'r nef; oblegid bydd i'r archoffeiriad, neu yr henuriad hyny, gael ei ddamnio, oddigerth iddo edifarhau yn ebrwydd, gan sicred ag y damniwyd Lusiffer; ac nis dichon iddo eich achub chwi, na chwithau ef; ond deuwch i Seion; byddwch amyneddgar hyd nes y galloch ddyfod yma, ac i'r Deml gael ei gorphen, a'ch mab hynaf, o'r gwr yr ewyllysiwch eich selio iddo, a all sefyll wrth eich ochr megys cynnrychiolydd cyfreithlawn ei dad, a thrwyddo ef chwi a ellwch gael eich selio i'ch marw; oblegid y mae yn hawl gyfreithlawn yn nheyrnas Dduw, i'r mab hynaf weinyddu a chael bendithion i'w dad, a gweithredu dros ei dad pan wedi myned i'r byd tragywyddol.

Chwychwi oll y rhai broffeswch eich bod yn Saint, cadwch eich hunain yn bur; byddwch fyw yn ddifrychau ac yn ddihalog. Dangoswch eich ffydd trwy eich gweithredoedd. Bydded i'r henuriaid ffoi o unrhyw wlad, lle eu herlidir y tu hwnt i oddef, ac agor drws iachawdwriaeth i'r bobl gyntaf a fyddant ewyllysgar i'w derbyn. Cyfieithwch Lyfr Mormon i bob iaith a thafodiaith dan y nef, ac argraffwch y cyfryw yn ol y rhoddo Duw i chwi gyfleusdra; ac o'r awr hon, dawn tafodau, a thrwy hyny gyfieithiadau, o iaith i iaith, a amlygir yn fwy fwy, i Henuriaid Israel, hyd na byddo cenedl, teyrnas, llwyth, na theulu, yn amddifad o gynnygiad gair Duw ar y ddaear.

Gan belled ag y cyfarwyddo yr Ysbryd, na anghofied yr henuriaid ordeinio Diaconiaid, Athrawon, Offeiriaid, ac Henuriaid brodorol, a'u gosod i weithio, yn mhob cenedl lle maent; ac os egyr Duw ddrws at genedl, na chlywodd erioed yr

Efengyl, llanwch ef gyda y cenadon goreu a alloch gael gafael ynddynt.

Yr Henuriaid Lyman a Rich a adawant yn fuan am eu cartref yn San Bernardino, California, i'r lle y dichon i'r holl Saint o ledred twymn ymgasglu, y cyfleusdra cyntaf; ac wedi eu tirio, gymmeryd cynghor y brodyr hyn. Y man goreu i'r oll o'r fath wneuthur eu dyfodfa yw San Diego; a gellir ei gyrhaedd ar unrhyw dymmor o'r flwyddyn; a'r Saint yn dyfod yno, a allant oddef y gwres. Nid oes gan y gweddill o'r Apostolion unrhyw genadwri neillduol oddi cartref yn bresennol.

Frodyr, *deuwch adref*, gan gyflymed ag y byddo modd: dygwch gyda chwi eich tlodion, eich arian, eich aur; a phob peth a harddo ac a enwogo Seion, ac a sefydlo Dŷ yr Arglwydd, heb anghofio *hadau pob coed dewisol, a ffrwythydd, a grawn, a chynnyrchion buddiol y ddaear*; a pheiriannau at arbed llafur; gan gadw eich hunain yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd ar ochr y ffordd.

A bydded i'n Tad yn y nef eich bendithio, hyd i foddlonrwydd eich calon, yn mhob pethau da, hyd y nod yr oll sydd arnoch eu hanghen, yn enw Iesu Grist. Amen.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
WILLARD RICHARDS.

*Dinas y Llyn Halen Fawr, Ebrill* 13, 1853.

[A gyfieithiwyd o'r "Deseret News" gan Robyn Ddu Eryri.]

---

## AT WEINIDOGION Y BEDYDDWYR.

ANWYLIAID,—Wedi addoedi o honof am dymmor hirfaith, dyma fi etto yn gostyngedig adalw eich sylw at yr achos o fy ymadawiad â'ch cyfundeb chwi; anfonais yn ddirgel at amrai o honoch, am gynhyrfu rhyw un o'r Parchedigion yn Morganwg, i gyhoeddi y *pethau* a achlysurasant fy ymadawiad, a'm mynediad yn "Sant" fel y dywedir. Os oes ofn arnoch gyfaddef y gwirionedd er mwyn lles ereill, ac fel y gwelo ac y gwypo y cyffredin yr athrawiaeth a bregethid genyf yn flaenorol i fy ymuniad â "Saint y Dyddiau Diweddaf," gadewch iddo, a mi

a ddangosaf hyn trwy yr Udgorn, os na chaf am y waith ddiweddaf, i ofyn y gymmwynas hon i chwi, o amlygu hyny trwy y "Bedyddiwr," neu y "Seren;" os caniatäol, rhoddwch eiryn bach yn y cyfryw, neu yn "*Udgorn Seion*" y Saint. O herwydd dyma fel y mae llawer o'r Bedyddwyr, ar hyd a lled y wlad, trefydd, a phentrefydd hefyd, yn gofyn i mi, gan ddywedyd yn y geiriau canlynol a'r cyffelyb, "Dewi, Dewi! O! Jones, Jones! gwyddoch chwi beth; wel, wel; hawyr bach, *dear* anwyl, pa beth a'ch rheibiodd chwi, yn wir serch hyny, i adael eich hen grefydd anwyl, yr hon grefydd ag oeddech yn hog-lanc bach yn ei phroffesu yn selog a diwyd, ac ymuno â'r creaduriaid penwan, hen Saint y Dyddiau Diweddaf? Dowch 'nol, dowch 'nol etto, at eich hen gyfeillion anwyl, fel gallom eich gweled etto, a'ch clywed hefyd, yn pregethu mewn tŷ braf, a phwlpud hardd; yr hyn sydd yn fwy prydferth o lawer i chwi, nâ phregethu allan, ar draws y wlad yma a thraw, ac mewn erlid, ac anmharch, o fan i fan; mewn dyoddefiadau, ac mewn anghen yn fynych. 'Does dim achos i ddynion crefyddol 'nawr i fod felly, o herwydd gwlad rydd, trwy drugaredd, yw ein gwlad ni; nid oes eisieu codi'r groes yn y dyddiau hafaidd hyn, dyoddefodd yr Iesu bendigedig, a'i ddyscyblion anwyl, ddigon o hyny; buont hwy yn llafurio yn galed, do, do, gyda'u Blaenor mawr, yr Hwn oedd *heb le i roddi ei ben i lawr* :

'Doedd gan ein Harglwydd ni,
Na maes, na thŷ, na thref;
Na bedd, pan farw bu,
Ond benthyg gafodd Ef.'

Dyna fel yr oedd ar y Saint gynt, ond nid oes achos bod yn y cyflwr hyny yn awr; o herwydd mae cyfraith ein gwlad yn hawlio rhyddid i bawb gael addoli eu Duw, fel y mynont, a phryd y mynont; ac nid yw ond ffolineb, yn wir, i chwithau i roddi eich hun i fod yn gas gan bawb, o herwydd *enw* y *Saint*. Gadewch iddynt o hyn allan; a pheidiwch, da chwi, peidiwch a dynoethu mor enbyd ein harferion, a darlunio mor noeth ein dull o grefydda, ac mai *ewyllys-grefydd* sydd gan bawb ond y 'Saint.' Buoch chwi yn ewyllysio bod gyda ni o'ch mebyd i fyny, ac y mae cannoedd o gyfeillion calon i chwi gyda ni yn awr; dowch 'nol, dowch 'nol etto, a gadewch eich Seion, a Dinas eich Llyn Halen ar ol, a pheidiwch meddwl am danynt. Pa

eisieu ffoi yno i lechu sydd? llechu i gael llawer o wragedd sydd yn eich golwg, y rhan fwyaf o honoch. Canys, pa argoel a welwch fod dinystr yr annuwiol yn agos? A welwch chwi y priodi, y planu, a'r adeiladu, sydd gan ddynion o bob gradd yn mhob man? mae hyn yn dangos y daw pethau yn well bob dydd. A phwy lid, hawyr bach, mae dynion yn ddweyd y bydd i Dduw dywallt arnom ni, ac ar ein gwlad dda ni, gwlad efengyl oleu, yn cael ei phregethu braidd nos a dydd? Daw amser gwell yma, ac y mae amser gwell 'nawr bob mis, yr huriau yn codi yn barhaus,—mae'r amser yn gwella'n *fast* iawn, a diau fod heddwch mawr gerllaw,—mae dynion campus yn darlithio ar heddwch braidd yn mhob man." Nid wyf yn ammau, meddwn innau, nad ydych chwi yn credu yn hollol yr hyn a ddywedwch. Ond fel hyn y dywed yr Arglwydd,— "Pan ddywedant heddwch, heddwch, yna y mae dinystr disymmwth yn dyfod ar eu gwarthaf hwynt," &c. Am hyny, na chymmerwch eich twyllo yn hwy am eich archollion, a'ch briwiau; canys er dywedyd o honynt wrthych, eich bod wedi eich iachâu, gwyddoch yn dda nad oes i chwi iechyd na heddwch: llafar eich cydwybod a lefa yn barhaus ynoch, eich bod mewn dychryn, ofn, caethiwed, arswyd, a braw, ac nad oes ynoch "heddwch tuag at Dduw;" o herwydd nad ydych yn ffordd y gwirionedd; ac yr ydych "yn ymddiried mewn geiriau celwydd ni wnant les." Gwn y cyhoeddir i chwi heddwch, heddwch, a hyny "heb arnynt gywilydd, ac ni fedrant wrido;" "Am hyn y syrthiant yn mysg y rhai y syrthiant, yn yr amser yr ymwelwyf â hwynt y syrthiant, medd yr Arglwydd." Gan hyny, credwch yr efengyl hon a adferwyd i'r ddaear i'r Prophwyd Joseph Smith, yr hon a bregethir gan Saint y Dyddiau Diweddaf; a ffowch rhag y llid a fydd, ïe, sydd wrth y drws. Canys Duw a dywallt ei lid, a hyny yn fuan, ar ddyn, ac ar anifel, ar goed y maes, ac ar *ffrwyth y ddaear*, ac efe a lysg, ac nis diffoddir. Tywalltir ef hefyd, "ar y plant sydd yn yr hoel, ac ar gynnulleidfa y gwyr ieuainc hefyd, canys y gwr a'r wraig a ddelir, yr henwr a'r llawn o ddyddiau; canys estynaf fy llaw ar drigolion y wlad, medd yr Arglwydd." Am hyny, anwyl hen frodyr, edifarhewch, a throwch i ffordd y "Saint," a "bedyddier chwi" *drachefn*, "yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau, a chwi a dderbyniwch *ddawn* yr Ysbryd Glân;" canys

mae y *ddawn* hon mewn addewid i'r ufyddhawr didwyll. Ufyddhewch ar frys i'r efengyl hon, fel eich caffer yn deilwng o "ddianc rhag y digofaint sydd ar ddyfod," ac i gael rhan o etifeddiaeth y "Saint yn y goleuni."

"Ah," meddai yr onest galon yn eu plith weithiau, "nid ydych chwi eich hunan yn credu yr hyn a ddywedwch; feallai y bydd pethau fel yna yn cymmeryd lle ryw bryd, yn mhen tua mil o flynyddoedd etto, yn rhyw le tua diwedd y byd. Ac mi wn i hefyd beth a gawsoch chwi i ymadael â'r Bedyddwyr, mi a glywais y gweinidog yn dweyd yn ddystaw bach am hyny; a dywedodd wrthym ni am daenu hyny ar hyd y wlad yn *sly* bach i hwn a'r llall. Ac yr wyf finnau hefyd yn credu taw dynion drwg yw'r Saint yna, a taw twyllo pobl y maent er eu cael i "Ddinas y Llyn Halen Fawr," fel y delont yn bobl gryfion, a meddiannu America, a'r holl fyd yn y diwedd; ond chewch chi mono i, byth bythol, i fod yr un peth â chi." Aie, yn wir, meddwn i, yr ydych chwi dipyn yn *stupid* hefyd; nid ydych wrthoch eich hun, ychwaith; mae llawer o'r un farn â chwi am danom ni, y Saint; ac y maent yn fwy nâ hanner credu pethau fel hyn, ac y mae hyny yn peri dychryn mawr iddynt; os gwir hyna, goreu i gyd pa gyntaf i chwi ymuno â'r Saint. Oddiar pa bryd yr ydych chwi yn brophwyd, attolwg? a ydych chwi yn credu fod yr hyn oll a ddywedasoch yn wir? "Ha, hw," meddai yntau, "wel, hei, hwm; wel, wel, dw'i ddim am siarad rhagor â chwi, oblegid yr ydych yn siarad yn odach na'r enwadau ereill; dw'i ddim am siarad rhagor â chwi." O'r goreu, meddwn i, dywedwch wrth eich gweinidog am ddodi helynt fy ymadawiad â chwi yn gyhoeddus yn rhai o'r cyhoeddiadau misol, fel y gallo pawb gael gwybod am dano; yna ceir lle teg i farnu am nerth gwirionedd y Saint;

A pheidiwch digio'n wyllt eich grân,
Ond cadwch wyneb serchog, glân,
A pheidiwch rhedeg ffwrdd mewn braw,
Ac wrth ymadael, siglwch law.

Fel yna mae yn dygwydd yn aml rhyngof â llawer o bobl; yr wyf yn cael dyfyrwch mawr gyda rhai, ac yn teimlo dros ereill. Os na sylwir ar fy nghais, gosodaf ef yn yr UDGORN er mwyn cyfiawnder, a chyfrifaf hwythau yn "chwe salach na bod islaw sylw." Yr eiddoch, &c., DEWI ELFED JONES.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Calonau ffyliaid sydd yn eu geneuau; ond tafodau y doethion sydd yn eu calonau.

Na fydded i adenydd cyfeillgarwch golli pluen byth.

### DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU A'R CANGENAU, AM Y CHWARTER YN TERFYNU MEH. 30, 1853.

*Cynnadleddau*—Sir Fynwy, £29 0s 8¼c; Sir Frycheiniog, £4 14s 4½c; Llanelli, £21 0s 6¾c; Sir Aberteifi, £10 1s 11¼c; Gogledd Penfro, £3 0s 3c; Gorllewin Morganwg, £68 7s 2c; Sir Feirionydd, £5 17s 10½c; Sir Fflint, £10 16s 3c; Sir Fôn, £11 14s 11½c; Dyffryn Conwy, £2 4s 6½c; Sir Ddinbych, £11 19s 5¼c; Cangen Liverpool, £2 6s 9½c; Caerfyrddin, £9 3s 5½c; Deau Penfro, £1 9s 3c. *Cangenau*—Dinas, £0 0s 0c; Llanilltyd, £0 0s 0c; Pontytypridd, £4 0s 10c; Cwmbach, £1 19s 11½c; Pendeulwyn, 13s; Twynyrodyn, £0 0s 0c; Eglwysnewydd, 1s 6c; Pontfaen, 10s 11c; Caerdyf, £4 16s 5c; Aberdâr, £14 0s 8½c; Aberamman, £5 12s 0½c; Dowlais, £7 2s 5½c; Hirwaen, £1 5s 7c; Cwmnedd, £1 7s 9c; Rymni, 17s 3c; Georgetown, 9s 4c; Merthyr, £8 19s 0¼c; Pendaren, £5 14s 5½c; Cefn, £3 15s 7c; Ynysgou, £3 13s 6½c; Gwernllwyn, £1; Ffynnon-Tydfil, £2 8s 8½c; Troedyrhiw, 14s 8½c; Rymni (Seisnig), 12s 11c; Gellifaelog, £2 2s 2c; Aberdâr (Seisnig), £1 13s 5c; Cap Coch, 10s 10c; Llanfabon, £1 0s 1½c; Llandaf, 19s 7c.—Cyfanswm, £268 0s 5¼c.

Taliadau o Feh. 24 hyd Meh. 30.—Gogledd Penfro, £1 6s 6c; Gorllewin Morganwg, £9 10s; Sir Fflint, £3 14s; Dinas, 2s 3c; Llanilltyd, £1 3s 4c; Pontytypridd, 16s; Cwmbach, £1 10s; Twynyrodyn, 14s 11c; Eglwysnewydd, 8s; Pontfaen, 5s; Caerdyf, £2 7s 6c; Cwmnedd, 19s; Georgetown, 3s; Merthyr, 10s 6c; Cefn, £2 3s 8c; Ffynnon-Tydfil, 5s; Troedyrhiw, 1s; Cap Coch, 14s; Gwernllwyn, £3 9s 0½c.—Cyfanswm, £30 2s 8½c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 2.] . GORPHENAF 9, 1852. [CYF. VI.

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o Gyf. v, tud. 155: cyfieithedig gan D. Elfed.]

YR achos o wrthryfel Satan a ddesgrifir yn fwy cyflawn yn y cyfieithad ysbrydoledig o lyfr Genesis, megys y dadguddiwyd trwy JOSEPH Y GWELEDYDD. Rhoddwn y dyfyniad canlynol: "A myfi, yr Arglwydd Dduw, a lefarais wrth Moses, gan ddywedyd, Y Satan hwnw, yr hwn y gorchymynaist iddo yn enw fy Unig-anedig,* yw yr un ag oedd o'r dechreuad, ac efe a ddaeth ger fy mron i, gan ddywedyd, Wele fi; danfon fi, mi a fyddaf yn fab i ti, ac a waredaf holl ddynolryw, fel na choller un enaid, ac yn ddiau mi a'i gwnaf; am hyny, dyro i mi dy anrhydedd. Eithr, wele, fy Anwyl Fab, yr hwn oedd fy Anwylyd a'm Hetholedig o'r dechreuad, a ddywedodd wrthyf, O Dad, dy ewyllys di a wneler, ac eiddot ti fyddo y gogoniant yn dragywydd. Am hyny, oblegid i Satan wrthryfela yn fy erbyn i, a cheisio dystrywio goruchwyliaeth dyn, yr hon a roddais i, yr Arglwydd Dduw, iddo ef, ac hefyd, am i mi roddi iddo ef fy ngallu i fy hun, trwy allu fy Unig-anedig; mi a berais iddo gael ei fwrw i waered, ac efe a aeth yn Satan, ïe, sef y Diafol, tad pob celwydd, i dwyllo, a dallu dynion, a'u harwain yn gaeth yn ol ei ewyllys, ïe, gynnifer ag na wrandawent ar fy llais i. Ac yn awr yr oedd y sarff yn gyfrwysach nâ

* Am yr ymdrech a gafodd Moses â'r Diafol, gwel y dadguddiad a roddwyd i Moses yn flaenorol i'w ysgrifeniad ef o Lyfr Genesis, cyhoeddedig yn y "Perl o Fawr Bris."

 [PRIS 1g.

holl fwystfilod y maes, y rhai a wnaethym i, yr Arglwydd Dduw. A Satan a'i gosododd yn nghalon y sarff (canys yr oedd ef wedi tynu llaweroedd ar ei ol), ac efe a geisiodd hefyd i hudo Efa, canys nis gwyddai efe feddwl Duw: am hyny, efe a geisiodd ddinystrio y byd, ïe, ac efe a ddywedodd wrth y Wraig, Ai diau ddywedyd o Dduw, Ni chewch chwi fwyta o bob pren o'r ardd (ac efe a lefarai trwy enau y sarff); ond am ffrwyth y pren a weli yn nghanol yr ardd, Duw a ddywedodd, Na fwytewch o hono, ac na archwaethwch ef, rhag eich marw. Canys gwybod y mae Duw, mai yn y dydd y bwytaoch o hono ef, yr agorir eich llygaid, ac y byddwch megys duwiau, yn gwybod da a drwg." Oddiwrth y dyfyniad a roddasom ni o Lyfr Abraham, dangosir i'r cynghor lle y cychwynodd y gwrthryfel hwn gyntaf, gael ei gynnal cyn gwneyd y ddaear. Ac yn y dyfyniad olaf hwn o Genesis, dysgwn rai o'r achosion a gynhyrfasant y gwrthryfel. Ymddengys i Satan gynnyg cynllun i "waredu holl ddynolryw, fel na chollid un enaid;" a chan gredu fod ei gynllun uwchlaw un arall a grybwyllwyd yn y cynghor, yr oedd efe yn benderfynol i'w ddwyn i weithrediad er pob perygl; o ba herwydd, efe a ddywedodd wrth yr Arglwydd, "Yn ddiau mi a'i gwnaf; am hyny, dyro i mi dy anrhydedd."

41. Pe caniateid i Satan ddwyn allan ei gynllun, byddai iddo naill ai dystrywio cyfrifoliaeth dyn, fel nas gallasai gyflawni pechod; neu byddai iddo gael ei waredu yn ei bechodau a'i ddrygioni, heb un edifeirwch na diwygiad bywyd. Pe dinystriasid cyfrifoliaeth dyn, ni weithredai ond yn unig fel y gweithredid arno, ac o ganlyniad peiriant yn unig a fyddai; ac ni fyddai gan ei weithredoedd deilyngdod nac annheilyngdod, mor bell ag y perthynai iddo ef, ac nis gallasai fod nac yn gospedig na gwobrwyedig, ac ni ddygent na thrueni na llawenydd. Dystrywiwch gyfrifoliaeth dyn, a chwi a ddystrywiwch brif ffynonell ei ddedwyddwch. Drachefn, cymmerwch ymaith gyfrifoliaeth dyn, a chwi a'i hamddifadwch ef o'i ddealltwriaeth; o herwydd dealltwriaeth yw gallu gwreiddiol neu achosydd gweithrediadau; mae yn allu hunan-symudol; a'r holl weithredoedd a ddeilliant oddiwrth y cyfryw allu, a raid o anghenrhaid fod yn rhydd. Os, gan hyny, y ca goruchwyliaeth dyn neu ei ryddid i weithredu eu dinystrio, chwi a ddinystriwch ei allu hunan-symudol; ac os amddifadwch ef o'r cyfryw allu, yr

ydych yn ei amddifadu o ddealltwriaeth; gan hyny, mae cyfrifoliaeth yn hanfodol i wir fodoliaeth dealltwriaeth. Dadguddir y gwirionedd hwn yn eglur yn y dadguddiad a roddwyd i Joseph y Gweledydd, yr hwn sy'n darllen fel y canlyn :—"Pob gwirionedd sydd anymddibynol yn y cylch hwnw yn mha un y gosododd Duw ef, i weithredu drosto ei hun, megys pob dealltwriaeth hefyd, onide nid oes dim bodoliaeth. Wele, yma y mae cyfrifoliaeth dyn." (Ath. a Chyf., dos. 83, gwa. 5.) Y cynllun a gynnygiwyd gan y Diafol, tra yr oedd efe etto yn ei sefyllfa gyntaf yn y nef, oedd dinystrio goruchwyliaeth dyn, gan ei amddifadu trwy hyny o'r dealltwriaeth pa un oedd Duw wedi roddi iddo, a thrwy y cychwyniad hwn byddai dyn yn analluog i wneyd, o'i gydsyniad ei hun, na drwg na da ; a meddyliodd Satan y gallai fel hyn "waredu holl ddynolryw, fel na chollid un enaid." Ni ddarfu iddo ddirnad y byddai dyn, wedi ei waredu yn ol ei gynllun ef, yn berffaith wallgof-ddyn, heb y godywyn lleiaf o ddealltwriaeth.

Rhywrai, ysgatfydd, a allant feddwl i ni gamddarlunio bwriadau y Diafol: oblegid braidd y gallant gredu iddo fod mor ddwfn gibddall ag i gynnyg cynllun ag a wnai, yn ei wir natur, ddinystrio dealltwriaeth neu wybodaeth yr hil ddynol. Y cyfryw, ysgatfydd, a allant ddadleu ei fod yn fwy rhesymol i feddwl i'r Diafol fwriadu i'w gadael hwynt i'w goruchwyliaeth, mor bell ag y mae gwneyd drwg a da yn dal perthynas; ac mai fel hyn eu dealltwriaeth a fyddai yn ddiogel ; eithr iddo ef fwriadu eu gwaredu hwynt oddiwrth effeithiau eu pechodau, heb un ymarferiad o'u dealltwriaeth yn y weithred o edifeirwch neu ddiwygiad. Y fath gynllun, ni a ganiatawn, a groesai ddybenion cyfiawnder, ac a dderbyniai fodau pechadurus ac aflan i deyrnas Dduw ; y cyfryw fodau a fyddent yn waredawl yn eu holl bechodau, ac a fyddent etto yn benderfynol i ddilyn eu gyrfa bechadurus. A'r fath gymmeriadau a droent nef yn uffern, a gwneyd eu hunain yn druenus, ac hefyd bawb ereill gyda pha rai y cymdeithasent. Eithr y cyfryw gynllun, er ei fod yn dinystrio cyfiawnder, nid yw yn dinystrio goruchwyliaeth dyn. Mae yn wir ei fod yn ei waredu heb yr ymarferiad o'i oruchwyliaeth, ond nid yw yn ei amddifadu o honi. Eithr dywed y dadguddiad fod Satan wedi dymuno i ddwyn oddiamgylch waredigaeth holl ddynolryw, trwy ddinystriad o'u gor-

uchwyliaeth; mae yn darllen fel hyn :—"Satan a wrthryfelodd yn fy erbyn i, ac a geisiodd ddystrywio goruchwyliaeth dyn, yr hon a roddais i, yr Arglwydd Dduw, iddo ef, ac hefyd am i mi roddi iddo ef fy ngallu i fy hun." Pa mor ddoeth bynag y mae Satan wedi bod mewn rhyw olygiadau, y cynllun hwn yn ddiau oedd yn un ffol iawn. Nid yw pechod Satan yn ymddangos yn gynnwysedig yn gyfangwbl yn y ffolineb o'r cynllun pa un a gynnygiodd efe o flaen ardderchog gynghor y nef, eithr yn ei ystyfnigrwydd a'i anewyllysgarwch i ymostwng i oleuni rhagorach y cynghor; wedi llyfelu y cynllun, yr oedd yn benderfynol i'w ddwyn i weithrediad: am hyny, efe a geisiodd ddymchwelyd y deyrnas, a thraws-feddiannu y gallu o honi yn ei ddwylaw ei hun; am hyny, efe a geisiodd gan yr Arglwydd, "Dyro i mi dy anrhydedd," neu megys y mae yr Arglwydd ei hun yn mynegi yn y dyfyniad uchod, "Satan a wrthryfelodd yn fy erbyn i, ac a geisiodd ar i mi roddi iddo ef fy ngallu i fy hun."

42. Pa mor annoeth bynag y gall cynllun Satan ymddangos i ni, mae yn rhaid ei fod wedi ymddangos yn ganmoladwy i lawer o'i frodyr: edrychent hwy ar y cynllun yr hwn a dybient hwy a'u gwaredai hwynt oll, yn rhagori ar y lleill oll. Naill ai nid oedd ganddynt ddeall digonol i farnu y canlyniadau o'r ddyfais a ddinystriai oruchwyliaeth dyn, neu ynte cyfrifent yn well iddynt i redeg y perygl o'r canlyniadau, yn hytrach nâ dyfod dan y cynllun sylfaenedig ar egwyddorion cyfiawnder a thrugaredd, yr hwn a'u cospai ac a'u gwobrwyai hwynt yn ol eu gweithredoedd. Fe allai eu bod yn alluog i wahaniaethu a barnu yn gyfiawn bob dyfais a gynnygiwyd, ond eu bod yn ddiofal a dibris ar y pynciau hyn, gan benderfynu gyda Satan cyn eu bod wedi gwneyd olrheiniad digonol; a chan fod wedi cymmeryd pleidiau, yr oeddynt yn benderfynol i amddiffyn eu gosodiad.

43. Nid yw yn debygol i benderfyniad terfynol y byddinoedd amrysonawl gymmeryd lle yn uniongyrchol. Llawer yn ddiammau oeddynt ansefydlog yn eu golygiadau, ansafadwy yn eu meddyliau, ac yn anmhenderfynol â pha allu i gyssylltu; fe allai fod, am ddim a wyddom ni, lawer o encilwyr oddiwrth bob un o'r byddinoedd: a gallai fod amser maith wedi bod cyn i'r llinell ddosparthiadol gael ei thynu mor gaeth fel ag i fod yn

anghyfnewidiol. Cyfreithiau, heb ammheuaeth, a sefydlwyd, a chospedigaethau a gyssylltwyd, yn ol natur y tramgwyddiadau neu y troseddiadau; y cyfryw rai a droisant yn gyfangwbl oddiwrth yr Arglwydd, ac oeddynt wedi penderfynu i amddiffyn achos Satan, a'r cyfryw a aethant yn mlaen i'r eithafion pellaf o ddrygioni, a osodasant eu hunain y tu allan i gyrhaedd gwaredigaeth: am hyny, gwaharddwyd y cyfryw i fyned i ail sefyllfa brawfedigol, ac ni chawsant y rhagorfraint o dderbyn cyrff o gnawd ac esgyrn. Ail sefyllfa iddynt hwy ni fyddai o un budd, o herwydd hwy a bechasant i'r helaethder hwnw fel ag y gadawodd Ysbryd yr Arglwydd hwynt yn hollol, a goleuni a gwirionedd ni thrigasant ynddynt yn hwy, am hyny nis gallasent deimlo tuedd i edifarhau: a phe caniateid iddynt fyned i sefyllfa arall o brawf, hwy a barhaent eu milwriaeth ansantaidd. Ac hefyd, pe caniateid iddynt i dderbyn cyrff cnawdol, hwy a genedlasent eu rhywiogaethau, ac a wthient i mewn i feddyliau eu plant yr unrhyw egwyddorion dieflig pa rai a deyrnasent yn eu mynwesau hwy eu hunain. Am hyny, yr Arglwydd a'u bwriodd hwynt allan o'r nef, ac a'u "cadwodd hwynt mewn cadwynau o dragywyddol dywyllwch hyd farn y dydd mawr," yr hwn a ddaw ar ddiwedd y ddaear. Y nifer a fwriwyd allan oeddynt ynghylch un rhan o dair, fel y dadguddiwyd nid yn unig i Ioan ar Ynys Patmos, eithr i Joseph y Gweledydd, fel y canlyn:—"A dygwyddodd i Adda, wedi ei demtio gan y Diafol; canys, wele, y Diafol oedd cyn Adda, o herwydd efe a wrthryfelodd yn fy erbyn i, gan ddywedyd, Dyro i mi dy anrhydedd, yr hwn yw fy ngallu; ac hefyd y drydedd ran o luoedd y nef a drodd efe ymaith oddiwrthyf fi o herwydd eu hofferynoliaeth; a hwy a daflwyd i lawr, ac felly y daeth y Diafol a'i angylion. Ac wele, y mae lle wedi ei barotoi iddynt o'r dechreuad, yr hwn le yw uffern." (Ath. a Chyf., dos. x, gwa. 10.)

44. Yn mhlith y ddwy-drydedd ran y rhai a arosasant, mae yn lled debygol fod yno lawer pa rai nid oeddynt ddewrion yn y rhyfel, eithr pechodau y rhai oedd o gyfryw natur ag y gellid eu maddeu trwy ffydd yn y dyoddefiadau dyfodol o eiddo Unig-anedig y Tad, a thrwy eu didwyll edifeirwch a'u diwygiad. Ni welwn ni un anmhriodoldeb yn mod yr Iesu yn offrymu ei hun yn offrwm ac aberth cymmeradwy gerbron y Tad,

i roi iawn am bechodau ei frodyr, a gyflawnwyd, nid yn unig yn yr ail, eithr hefyd yn y sefyllfa gyntaf. Diau fod y gwaith pa un oedd yr Iesu i'w orphen, yn wybodus yn yr uchel gynghor lle y torodd y gwrthryfel allan; yr oedd yn wybodus y pechai dyn yn yr ail sefyllfa; o herwydd ar y pwnc o'i waredigaeth yr oedd y dyrfa wedi dyfod yn rhanedig, a pha un a derfynodd mewn rhyfel. Ioan, y dadguddiwr, gan lefaru am ryw allu, a ddywed, "A holl drigolion y ddaear a'i haddolant ef, y rhai nid yw eu henwau yn ysgrifenedig yn llyfr bywyd yr Oen, yr hwn a laddwyd er dechreuad y byd" (Dad. xiii, 8). Yn awr, gallwn ofyn, Paham yr oedd yr Oen yn cael ei ystyried megys "wedi ei ladd er seiliad y byd?" Os nad oedd yno neb personau wedi pechu yn eu sefyllfa gyntaf, a allent gael eu llesoli trwy ddyoddefiadau eu brawd henaf, yna nis gallwn weled un rheswm dros ei ystyried Ef ar y cyfnod boreuol hwnw, megys yn barod wedi ei ladd: y wir ffaith, fod yr iawn pa un oedd i gael ei gwneyd mewn byd dyfodol, yn cael ei hystyried fel yn barodol wedi cael ei gwneyd, sydd yn ymddangos i osod allan fod yno y cyfryw ag oeddynt wedi pechu, a pha rai a safasent yn yr anghen o iawn. Natur dyoddefiadau Crist oeddynt y fath ag y gallent waredu ysbrydoedd dynion yn gystal â'u cyrff. Gair yr Arglwydd trwy Joseph y Prophwyd i Martin Harris, sydd yn darllen fel hyn:—"Yr wyf yn gorchymyn i chwi edifarhau—edifarhewch, rhag i mi eich taro chwi â gwialen fy ngenau, ac yn fy llid, ac yn fy nigter, ac i'ch dyoddefiadau fod yn dost—pa mor dost ni wyddoch! pa mor boenus ni wyddoch! ïe, pa mor galed i'w dyoddef ni wyddoch! Canys, wele, myfi, Duw, a ddyoddefais y pethau hyn dros bawb, fel na oddefent hwy os byddai iddynt edifarhau: ond os na fydd iddynt edifarhau, rhaid iddynt ddyoddef yr un modd â mi, a'r cyfryw ddyoddefiadau a barasant i mi, hyd y nod Duw, y mwyaf o bawb, grynu o herwydd poen, a gwaedu trwy fy holl chwys-dyllau, a dyoddef yn y corff a'r ysbryd; a dymunaswn nad yfaswn o'r cwpan chwerw a thynu yn ol—er hyny, i'r Tad y byddo y gogoniant, a mi a gyfranogais ac a orphenais fy mharotoadau i blant dynion."—(Ath. a Chyf., dos. xliv, gwa. 2.) Dyoddefodd Iesu, nid yn unig yn y corff, ond hefyd yn yr ysbryd. Trwy ddyoddefiadau ei gorff, efe a roddodd iawn dros bechodau dynion a wnaethent yn a thrwy y corff; trwy ddy-

oddefiadau ei ysbryd, efe a roddodd iawn dros y pechod a wnaethwyd trwy yr ysbryd. Mae yn rhesymol, gan hyny, i feddwl, os darfu i ysbrydion bechu yn eu sefyllfa gyntaf, y gallasent gael maddeuant trwy eu ffydd a'u hedifeirwch, trwy rinwedd dyoddefiadau dyfodol Crist.

*(I'w barhau.)*

---

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o Gyf. v., tud. 381, a dechreu cyfieithad Robyn Ddu.]

Dichon i rai ddywedyd, os ystyrir priodi un arall yn odineb, wedi yr ysgarer gwraig yn anghyfreithlawn, yna y dylid ystyried mai godinebus a fyddai priodi un arall, os heb ei hysgaru, gan feddu dwy neu ychwaneg ar yr unrhyw amser. Eithr y ddau achos hyn ydynt hollol wahaniaethol a gwahanol yn eu natur. Yn yr achos cyntaf, mae dyn, cyn iddo briodi un arall, mewn camwedd mawr, am roddi o hono ymaith ei wraig yn anghyfreithlawn, a pheri iddi wneuthur godineb. Ni oddef Duw i ddyn, tra yn y camwedd mawr hwn, gael ei wneuthur yn un cnawd gydag un arall; ac os prioda, efe a brioda yn annibynol o awdurdod y nefoedd, ac felly efe a wna odineb. Ond yn yr ail achos, os prioda efe un arall pan nad yw dan gamwedd, trwy gydsyniad ei wraig gyntaf, o dan ddwyfol gymmeradwyaeth, a thrwy ddwyfol osodiad ac awdurdod, fel y gwnaeth y Patriarchiaid santaidd a'r Prophwydi, nid yw efe yn gwneuthur godineb. Ni bu chwaith i'r Iesu na'i apostolion erioed ddarlunio person yn ddyn godinebus am briodi dwy o wragedd a byw gyda hwy, megys ag yr arferwyd gan ddynion santaidd yn yr holl oesau blaenorol. Ni chondemniwyd erioed y fath arferiad. Ni ddywedodd yr Iesu i Foses oddef lliosogrwydd gwragedd o herwydd caledwch eu calonau, ac nad oedd felly o'r dechreuad. Naddo. Efe a ddywedodd yn hollol i'r gwrthwyneb. Am roddi gwragedd ymaith, ac nid am gymmeryd gwragedd, y condemniodd yr Iesu hwynt. Condemnid y fath hyn o roddi ymaith wragedd, nid yn unig o dan yr Efengyl, eithr ystyrid hyn yn ddrwg mawr gannoedd o flynyddau cyn Crist. Gwrandawer tystiolaeth y Prophwyd Malachi: "Am hyny gwyliwch ar eich ysbryd, ac na fydded neb anffyddlawn yn erbyn gwraig ei ieuenctyd. Oblegid yr Ar-

glwydd, Duw Israel, a ddywedodd ei fod Ef yn cashau rhoddi ymaith" (Malachi ii, 15, 16).

Megys mai drwg mawr yr ystyrid i wr roddi ymaith ei wraig, felly, yn yr un modd, yr oedd yn dra phechadurus i wraig roddi ymaith ei gwr. Yr Iesu a ddywedodd, "Os gwraig a ddyry ymaith ei gwr, a phriodi un arall, y mae hi yn godinebu" (Marc x, 12).

Yn ychwanegol at yr ystyr a eglurwyd eisoes, y mae gwr a gwraig yn dyfod yn un cnawd mewn golygiad arall. Deuant yn un cnawd nid yn unig drwy i'r wraig roddi ei hunan yn hollol i'r gwr, eithr yn wreiddiol lluniwyd y wraig yn weithredol allan o asgwrn a chnawd Adda. Ni welodd yr Arglwydd yn addas, wrth lunio gwraig i Adda, i'w chyfansoddi yn gyfan allan o'r ddaear, eithr Efe a gymmerodd un o asenau Adda, a chan gyssylltu y defnyddiau anghenrheidiol gyda hi, a ffurfiodd wraig, ac a'i dygodd hi at y dyn; perodd yr amgylchiad cywrain hwn i Adda waeddi, "Hon weithian sydd asgwrn o'm hesgyrn i, a chnawd o'm cnawd i: hon a elwir gwraig, oblegid o wr y cymmerwyd hi. O herwydd hyn yr ymedy gwr â'i dad, ac â'i fam, ac y glŷn wrth ei wraig: a hwy a fyddant yn un cnawd" (Gen. ii, 23, 24). Yr oedd y wraig gan hyny, trwy greadigaeth, yn rhan wreiddiol o ddyn; sefydlwyd yr ordinhad briodasol er adfer i ddyn y rhan hòno a gymmerwyd oddi wrtho, heb yr hon nis gallasai fod yn berffaith. Pan fu i'r asgwrn neu'r asen, a gymmerwyd oddi wrtho, gael ei hadferu iddo ar ffurf benyw a gwraig, efe a allasai, gyda phob priodoldeb, ddywedyd eu bod hwy yn un cnawd.

Fod y dywediad hwn yn gymhwysiadol nid yn unig yn achos y ddau gyntaf, eithr at bawb ereill a briodid yn olynol trwy osodiad dwyfol, sydd amlwg oddiwrth yr adroddiad y gwnai dyn, o herwydd yr achos penodol hwn, ymadael â'i dad ac â'i fam, a glynu wrth ei wraig, a bod yn un cnawd.

Eithr y mae etto ystyr ychwanegol yn yr hwn y daw gwr a gwraig yn un. Hwy a ddeuant yn un cnawd yn eu plant. Mae cnawd y ddau, yn dad a mam, yn cael eu hymgorffori yn un yn mhob un o'u hiliogaeth. Mae yma undeb cnawd y tad gydag eiddo y fam, nas gellir byth ei wahanu—undeb cnawd dau mewn un corff—undeb mor berffaith ag eiddo asen Adda cyn ei thynu o'i gorff—undeb nad oes gallu ond marwolaeth a

ddichon ei ddattod—undeb a fydd dragywyddol wedi yr adgyfodiad. Oddiyma y mae y gwr a'r wraig yn dyfod yn un cnawd yn eu plant am byth bythoedd. O ganlyniad, dylai undeb gwr a gwraig fod mor anwahanol â'u cnawd a'u hesgyrn eu hunain wedi eu hymgorffori yn eu plant; dylai fod mor dragywyddol â chyrff anfarwol eu plant wedi yr adgyfodiad. Nid rhyfedd, gan hyny, fod yr Arglwydd yn "cashau rhoddi ymaith;" y mae yn doriad cyfammod tragywyddol priodas; y mae yn ddadymchweliad sylfaen fawr teyrnasoedd tragywyddol; dinystr ydyw i gynnydd diddiwedd hiliogaeth, a gwrthodiad o drefn batriarchaidd a theuluol arbenig y nefoedd; gwahanu ydyw oddiwrth eu gilydd yr hyn a gyssylltodd Duw ynghyd am dragywyddoldeb—rhwygo yn ddau ei gnawd ei hun a'i esgyrn ei hun, y rhai a gyssylltodd Duw yn un yn oes oesoedd; ac yn fyr, gwrthodiad ydyw o'r Wraig—"gogoniant y Dyn"—yr unig foddion a ordeiniodd Duw i boblogi bydoedd—yr unig gychwynfa tuag at gynnydd diddiwedd llywodraethau—yr unig gyfrwng at barhad diddiwedd bywydau anfarwol. Yr hyn, gan hyny, a gyssylltodd Duw ynghyd megys un cnawd, na fydded i un awdurdod ddynol feiddio ei ysgaru.

Ond ai nid ydyw y dywediad, "A hwy ill dau a fyddant yn un cnawd," yn dangos na fwriadodd Duw i chwaneg nâ dau ddyfod yn un cnawd? Nac ydyw: nid yw yn trosglwyddo y fath feddylddrych. Dywed yr Iesu, "Myfi a'r Tad un ydym" (Ioan x, 30). Yn awr, ni rwystrodd y dywediad hwn ereill rhag eu dyfod yn un gyda'r Tad a'r Mab; yr un mor ddichonadwy ydoedd i dri, neu i bedwar, neu i gant, neu i unrhyw nifer arall o'i ddyscyblion, pa mor liosog bynag, ddyfod yn un gyda'r Iesu a'i Dad, ag ydoedd iddynt hwy eu dau fod yn un. Yn wir, mae yr Iesu yn gweddio ar y Tad am iddo ef wneuthur ei holl ddyscyblion yn un, megys ag yr oeddynt hwythau yn un. Gan hyny, nid yw o herwydd fod dyn yn dyfod yn un cnawd gydag un wraig, yn ei rwystro ef oddiwrth ddyfod yn un cnawd gydag ail wraig. Pan ddaeth Jacob yn un cnawd gyda Leah, ni rwystrodd hyny ef oddiwrth briodi Rahel, a Bilhah, a Zilpah, nag oddiwrth ddyfod yn un cnawd gyda phob un o honynt. Yr oedd pob un o'r tair ddiweddaf yn gymmaint yr eiddo ef â'r gyntaf. Yr oedd cnawd Jacob a Rahel wedi ei ymgorffori megys un yn nghyrff Joseph a Benjamin, yn ogym-

maint ag yr oedd cnawd Jacob a Leah yn Judah a Simeon. Os gallesid dywedyd am Jacob a Leah, "Hwy eu dau a fyddant un cnawd," gallesid cymhwyso yr unrhyw ddywediad, gyda phriodoldeb cyfartal, at Jacob a Rahel—at Jacob a Bilhah—at Jacob a Zilpah; neu pe buasai wedi ei uno â saith cant o wragedd, megys ag yr oedd Solomon, buasai y dywediad yr un mor gymhwysiadol i bob pâr.

Nid oes genym un enghraifft neillduol yn cael ei chrybwyll o fewn i ysgrifeniadau y Testament Newydd, am liosogrwydd gwragedd, a thybiodd rhai, oddiwrth yr amgylchiad hwn, nad oedd y fath arferiad yn bodoli; ond atebwn, fod amryw lyfrau o'r Hen Destament hefyd, yn y rhai na chofnodir unrhyw enghraifft o'r fath arferiad, ac etto y mae yn eithaf gwybyddus fod y fath arferiad mewn bodoliaeth. Gan hyny, nid yw o herwydd i ysgrifenwyr y Testament Newydd beidio a chrybwyll enghreifftiau, yn unrhyw dystiolaeth yn erbyn parhad y sefydliad dwyfol hwnw. Paham y bu i un ar bymtheg neu ddeunaw o ysgrifenwyr ysbrydoledig yr Hen Destament fod yn hollol ddystaw mewn perthynas i arferiad a fodolai o dan eu sylw uniongyrchol? Nid yw dystawrwydd wyth ysgrifenwyr y Testament Newydd yn fwy prawf yn erbyn bodoliaeth yr arferiad lliosogol o dan yr oruchwyliaeth Gristionogol, nag ydyw dystawrwydd dwywaith eu nifer o ysgrifenwyr yn erbyn ei bodoliaeth o dan oruchwyliaethau blaenorol.

Tybir gan rai nad oedd gan Gristionogion fwy nag un, o herwydd yr arferir y gair *gwraig*, yn lle *gwragedd*, yn y Testament Newydd. Eithr ni ellir tynu y fath gasgliad yn deg oblegid hyny. O herwydd pwy nad yw yn gwybod ddarfod i'r mwyafrif o ysgrifenwyr yr Hen Destament ddefnyddio y gair *gwraig* yn y rhif unigol, yn gystal â'r rhai hyny o dan yr Efengyl. Yr oedd llawer o bobl o dan bob goruchwyliaeth, heb fod ganddynt ond un wraig; ac o herwydd yr achos hwn, rhoddid addysgiadau fynychaf mewn geiriau ac iaith gyfaddas i gyflwr cyffredin y bobl, a'u cymmeryd yn y cyfanswm. Pan roddodd Moses gyfreithiau yn herwydd perthynasau teuluol, efe yn fwyaf cyffredin a ddefnyddiai y gair *gwraig*, yn lle *gwragedd*, am y gwyddai y byddai y cyfreithiau a reoleiddient un wraig, mewn gan amlaf o achosion, yn gyfartal briodol i liosogedd. Oddiyma efe a ddefnyddia y rhif unigol yn ei hyfforddiadau

mewn perthynas i ysgariad; yr unrhyw ymadrodd a arferir yn erbyn chwennych gwraig cymmydog; ac etto, amcanwyd y cyfreithiau hyn i gymmeryd effaith yn mysg aml-wreigwyr, yn gystal ag yn mysg y teuluoedd a arferent y gyfundraeth un-wreigaidd. Yr oedd llawer o gyfreithiau ereill yn gymhwysiadol i'r ddwy gyfundrefn, ac etto Moses a ddefnyddiai y gair unigol yn lle y lliosog. Yr unrhyw arferiad hwn a barhaodd yn mysg yr ysgrifenwyr ar ol Moses; ac anfynych yr arferid y gair *gwragedd*, mewn perthynas i deuluoedd personol, oddigerth yn herwydd rhyw amgylchiad neu ddygwyddiad a alwai yn neillduol am i'r iaith fod yn y lliosog. Ysgrifenwyr y Testament Newydd, wrth roddi rheolau a threfniadau er llywodraethiad teuluoedd, a ganlynasant yr unrhyw arferiad â'r rhai hyny a'u blaenorodd, trwy ddefnyddio y rhif unigol, gan ystyried fod yr hyn oedd gymhwysiadol i un wraig, mewn gan amlaf o achosion, yn gymhwysiadol i liosogedd. Gan hyny, nid yw y dull hwn o adrodd eu hunain yn dystiolaeth yn y radd leiaf yn erbyn bodoliaeth y drefn hon ar bethau yn mysg Cristionogion. Yn wir, gwyddom, os cadwodd y genedl Iuddewig eu cyfraith mewn perthynas i'w meirwon anmhlantadwy, mai rhaid yw fod miloedd o amlwreigwyr yn eu mysg pan y dygwyd Cristionogaeth i'w plith.

*(I'w barhau.)*

---

## LLYTHYR O SAN BERNARDINO.

*San Bernardino, Talaeth California, Mawrth* 20, 1853.

Fy anwyl Dad, a Mam, a Chyfeillion,—Gyda phleser y treuliaf ychydig amser hamddeuol, i hysbysu i chwi fy nheimladau, a pha fodd yr ydym yn myned yn mlaen yma, gan eich bod, yn ddiau, yn awyddus i glywed oddiwrthym. Yr ydym oll yn iach yn bresennol, am yr hon fendith y teimlwn i ddiolch i'n Tad nefol. Gobeithiwn eich bod chwithau yn mwynhau yr un fendith. Yr ydym yn awyddus i glywed oddiwrthych, a byddem yn ddiolchgar iawn i gael ychydig linellau oddiwrthych. Hwn yw y nawfed llythyr a ysgrifenasom atoch, heb gael un atebiad yn ol; da fyddai genym pe ysgrifenai rhywun atom, i'n hysbysu o helynt ein perthynasau, pa un ai byw ai marw

ydynt; ond gobeithiwn eu bod yn fyw, a chredwn mai ar y *mails* mae y bai yn rhwym o fod. Carem glywed pa fodd y mae ein holl berthynasau yn gwneyd yn y bywyd hwn; a ydyw y rhai oedd yn perthyn i Eglwys Iesu Grist, yn dal yn gadarn yn y ffydd,—yn penderfynu dilyn yn y blaen ar lwybrau cyfiawnder, a chadw gorchymynion Duw? Hefyd, a ydyw y rhai oedd tu allan i'r eglwys, pan yr ymadawsom ni, wedi rhoddi ufydd-dod i ordinhadau yr efengyl, a dyfod yn gyfranogwyr o fendithion plant Duw?

Er i ni adael ein cyfeillion a'n perthynasau, a dyfod i wlad dyeithriaid, yn ol ewyllys a gorchymyn yr Arglwydd, etto, mae Efe wedi ein bendithio, a rhoddi ffryndiau i ni lle bynag y buom. Yr ydym wedi cael ein bendithio yn dymmorol ac yn ysbrydol. Daethom i'r lle hwn ar y 9fed o Ragfyr diweddaf, ac oddiar yr amser hyny, y mae genym wyth erw o wenith wedi ei hau, un erw o haidd, ac oddeutu dwy erw o bytatws, a llysiau ereill, ynghyd â thŷ wedi ei adeiladu.

Mae y gwenith yma yn cynnyrchu o 40 i 60 bwshel yr erw, ac ni ofyna ond ychydig driniaeth, gan fod y tir i'w aredig yn hawdd iawn; ac anfynych, os weithiau, ei lyfnir ar ol hau, gan fod y bobl yn hau y gwenith wrth aredig yn y wlad hon. Mae y tir yma yn cynnyrchu llysiau o'r rhywogaethau mwyaf. Mae rhai winwyn yn pwyso o 4 i 5 pwys, a bresych *(cabbage)* o 35 i 40 pwys ar ol tori y dail allanol ymaith. Mae llysiau ereill yr un fath mewn cyfartalwch.

Yr ydym wedi trafaelu ychydig bellder wedi gadael cartref, a dod yn gynnefin â hyny yn awr. Daethom o Ddinas y Llyn Halen Fawr, oddeutu 300 o filltiroedd o ffordd, i Swydd Haiarn, yn Nhiriogaeth Utah, â'n gwêdd *(team)* ein hunain, a thua 1200 pwys o flawd, a darpariadau ereill. Yr oedd y brawd Thomas Rowlands gyda ni; arosodd gyda ni yno o hyd, a rhoddais hanner y cnwd a godasom iddo, a'i luniaeth; a pharotoasom hadau a gweddau, a gadawsom ef yno mewn meddiant o'r cwbl. Daethom i'r Gangen hon o'r Eglwys gyda thair iau o ychen, dwy fuwch, ac un ceffyl, a phedrolfen dda. Buom tua phump wythnos yn teithio tuag yma. Mae porfa i'r anifeiliaid yn lâs drwy y rhan fwyaf o'r flwyddyn yn y wlad hon. Y mae meillion *(clover)* yma yn awr tua throedfedd neu ragor o uwchder. Mae rhan fawr o'r tir wedi ei orchuddio â meillion

a cheirch, ac y mae y da yn gwneuthur yn dda yma. Yr ydym ni yn gwneuthur o 8 i 10 pwys o ymenyn bob wythnos, oddi wrth ein da ni; a chawn bwys o dê am bwys o ymenyn! * * Fe fyddai yn dda genym gael yr hadau canlynol:—charlotts, time, isop, rhosmari, lavender, rhuw, myntys, peppermint, horehound, wermod, gwrysgenlwyd. Sycher hwy yn eithaf sych, a rhodder hwy mewn costrel bridd neu wydr, wedi ei sicrhau a'i selio, fel nad elo awyr i mewn iddi. Mae awyr y môr yn niweidiol i'r hadau, ac os na wneir yn ol y cyfarwyddid uchod, ni fydd o un defnydd i chwi ddyfod â hadau yn groes i'r môr.

Yr ydym wrth ein bodd yma, ac ni ddychwelwn yn ol byth i Gymru, o herwydd ein bod yn gwneuthur yn well yma, nag a fuom erioed yn gwneuthur; ac yr wyf yn meddwl treulio fy nyddiau yn y wlad hon, oddieithr i mi gael fy nanfon i ffwrdd, gan y rhai sydd ag awdurdod yn yr eglwys; yna, os felly y bydd, gadawaf y cyfan yn ewyllysgar, ac mi a âf lle bynag y danfonant fi.

Dymunwn ddweyd gair wrth Dafydd Jones. Llawer gwaith y buom ni yn siarad am y wlad hon; darllenodd ynte ddesgrifiad o honi i mi; ond dyma fi yn awr yn mwynhau ffrwythau y tir. Ni ellir cael allan frasach tir, nac hinsawdd yn fwy mwyn ar wyneb y ddaear, o herwydd y mae haf yn gwenu oddiamgylch trwy y flwyddyn bron i gyd; ac y mae ffrwythau trofanawl yn tyfu yma yn eu holl amrywiaethau. Yr wyf wedi hau hadau eur-afalau *(oranges)* a *pheeches*; ac yr wyf yn bwriadu, mor gynted ag y bydd yn bosibl, i blanu gwinwydd a chodi grawnwin. Fe ellir eu codi yma heb fawr trafferth, ddigon i'n diwallu ni o gymmaint o win a fydd eisieu arnom. Mae cucumerau yn tyfu yma heb ddim trafferth, o'r hyn leiaf, nid cymmaint ag sydd yn Nghymru. Yr ydym yn eu planu heb ddim tail yn y tir, gan roddi wyth neu ddeg o hadau mewn un man, a chynnyrchant mewn cyflawnder.

Yr wyf yn teimlo i ddiolch i Dduw am i mi gael y fraint o ddyfod yma o Gymru, gyda y Brawd Capt. Dan Jones, gan fy mod yn teimlo i dystiolaethu fod y pethau hyn yn wir; yr wyf yn credu fod y Brawd Jones erbyn hyn yn eich plith. Dywedaf wrthych fy mod yn gwybod ei fod yn ddyn Duw, a bod Offeiriadaeth y Goruchaf ganddo, a'i fod wedi ei ddanfon gan y

rhai sydd ag awdurdod, i gyhoeddi yr Efengyl yn ei chyflawnder i blant dynion, yn y dyddiau diweddaf hyn; a chwi a wnelech yn dda i dalu sylw manwl i'w gynghor. Dywedaf wrth y Saint yn y wlad yna, byddwch lawen, canys mae yr Arglwydd wedi parotoi gwlad ddewisol er ymgasglu ei bobl ynghyd; ac nid yw yr amser yn mhell pan y rhoddir modd yn nwylaw y Saint ffyddlawn, i ymgasglu ynghyd i'r wlad hon, lle y gallant blanu, a bwyta eu ffrwyth, ac y gallant ddysgu ewyllys yr Arglwydd yn fwy perffaith, a chael addysgiadau gan ei weision o bryd i bryd;—a lle y bydd dynion yn rhydd oddiwrth ormes a thrawsfeddianniad, ac yn rhydd i wneyd beth a fynont, cyhyd ag y gwnelont yn iawn, a gwneuthur i ereill fel y dymunent i ereill wneyd iddynt hwy. Wrth y rhai sydd yn dlawd, ac heb fodd i ddyfod, ac yn dweyd, "Pe cynnorthwyai rhywun fi, pa fodd y gallwn ei ad-dalu?" dywedaf yr agora yr Arglwydd y ffordd i chwi allu talu yn ol; a phan y deloch, chwi ellwch wneuthur eich hunain yn fwy cysurus nâ'r goreu yn y wlad yna, trwy eich llafur eich hun a'ch diwydrwydd. Yr wyf yn ystyried hyn yn fraint fawr: mi a ymadawais oddiyna heb lawer o gyfoeth, ond yr wyf wedi cael fy mendithio â'r mwyaf sydd arnaf ei anghen, er bod yn gysurus yn y bywyd hwn. Ein cofion at ein holl berthynasau a'n cyfeillion.

Ydym yr eiddoch, &c.,

EDWARD A SOPHIA WILLIAMS.

---

## PENNILLION.

O MOR deg fydd yr olygfa,—Ar Seion draw,
Ar y Saint 'nol cael diangfa,—Ar Seion draw;
Wedi meddu gwir ymwared
O holl ddystryw y rhai digred,
Heb neb yno'n wael i'w weled,—Ar Seion draw.

Er yn awr mewn dwfn drallod,—Yn wael eu llun,
Mewn dysgwyliad am ollyngdod,—Yn wael eu llun,
Yn ngorthrymder Babilonia,
'N mhell o diroedd eu diangfa,
Gan gael gormes a phob trawsdra,—Yn wael eu llun.

Beilchion byd y'nt 'nawr yn ddifyr,—A chalon lon,
Mewn pleserau gwych a chysur,—A chalon lon;
'N cael eu parchu o fawr foliant,
Mewn moethderau a gogoniant,
A'u palasau mewn urdduniant,—A chalon lon.

Ond daw amser cyfnewidiol,—Heb fod yn faith,
Pan bo'r Saint yn waredigol,—Heb fod yn faith;
Tywallt Duw ar wyneb daear
Bläau blin ar yr anhygar,
Beilchion byd, daw dydd eu galar,—Heb fod yn faith.

Bydd y Saint ar fynydd Seion,—Heb boen na braw,
'N mhell o drafferth hyll ofalon,—Heb boen na braw;
Yn lle bod mewn llyffetheiriau,
'N ormesedig dan gadwynau,
Cant lawenydd a chaniadau,—Heb boen na braw.

*Llanelli.* ANEURIN L. JONES.

---

## YMWELIAD GARTREF.

TON—"In my Cottage near a Wood."

HOFF im' fwthyn sy'n y coed,
Lle preswylia 'nhad a mam,
A lle magwyd fi erioed,
Er pan ddysgais roddi cam.
Yno 'nawr cychwynaf fi,
I ymwel'd â'm rhiaint cu;
Caf eu gwel'd yn llwyd gan oed,
Ond â'u croesaw 'run i mi. (1846.)

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

PRIODAS yw cwlwm sicraf cyfeillgarwch parhaus, ac nis dichon fod dim cyfeillgarwch heb ymddiried, na dim ymddiried heb gywirdeb; a rhaid iddo ef ddysgwyl bod yn druenus, yr hwn sydd yn talu i lendid, cyfoeth, neu foneddigeiddrwydd, y parch hwnw ag sydd yn ddyledus i rinwedd a duwioldeb yn unig.

Y Deml.—Bydd hyd y Deml yn Ninas y Llyn Halen Fawr yn 200 o droedfeddi, a gosodir chwech o dyrau iddi, tri yn mhob pen. Costiodd y cloddiad at osod y conglfeini o 7,000 i 10,000 o ddiwrnodau gwaith. Mae y llawr isaf i fod yn 16 troedfedd o uchder—8 troedfedd islaw gwyneb y ddaear, ac 8 troedfedd uwchlaw. Gosodwyd y conglfeini 16 o droedfeddi islaw gwyneb y ddaear. Yr oedd cloddiadau y sylfaen yn 20 troedfedd o led, a sylfaen y muriau yn 16 troedfedd o drwch.

Esgusodion rhag talu am Gyhoeddiad.—"Yn y lle cyntaf, ni orchymynais mo hono ; a phe gorchymynaswn, ni chefais mo hono; ac os cefais ef, fel dosparthwr y cefais ef: heblaw hyny, credaf i mi dalu am dano er ys talm ; ac os na thalais, nid oes genyf ddim yn awr i dalu ; a phe buasai genyf fodd yn awr, dylwn gael ychwaneg o amser." Y neb nad anrhegai y fath ddyn â chyhoeddiad cysson yn ei golofnau, fel a[illegible]eg am ei gywreinrwydd i dwyllo yr argraffydd, nid yw am ddifyru ei ddarllenwyr, nac adferyd y grefft o ladratta i'w dull cyssefin o grafangau y fath ymresymwyr.—D. J.

Y BARDD IDDO EI HUN.

Bedyddiwyd fi, boed addaw—byw mwyach,
Heb i meiau 'm llithiaw ;
Drwy dduwiol daer weddïaw,
O'r boen ddofn, Robyn a ddaw.

Robyn Ddu, Eryri.

---

Taliadau o Gor. 1 hyd Gor. 7.—Sir Fynwy, £2; Pontytypridd, 6s 6c; Llanfabon, 3s 4c; Aberdâr, 15s; Rymni, 17s 3c; Georgetown, 14s; Ffynnon-Tydfil, 3s 11c; Troedyrhiw, 4s 2c.—Cyfanswm, £5 4s 2c.

☞ Mae "Ffordd y Bywyd Tragywyddol," a "Thestament y Deuddeg Patriarch," allan o brint. Yn awr yw yr amser i sicrhau copiau o'r traethodau ereill sydd ar law.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, John's Street, Georgetown, Merthyr.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 3.] GORPHENAF 16, 1853. [CYF. VI.

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

*A gynnaliwyd yn Ninas y Llyn Halen Fawr, ar y 6fed dydd o Ebrill*, 1853.

(Allan o'r " Deseret News.")

NIS gellai dydd Mercher, y 6fed o Ebrill, 1853, wawrio yn ddydd mwy hyfrydol nag y gwnaeth, nac yn fwy wrth fodd saint neu angylion. Danfonodd y dyffrynoedd pellenig eu preswylwyr allan, a'r dyffryn hwn a heigiodd allan ei filoedd ; ac ni welwyd golygfa fwy gogoneddus er ys canrifoedd, nag a welwyd yn Ninas y Llyn Halen Fawr heddyw.

Yr oedd baniar genedlaethol Deseret yn chwifio yn yr awel. Côr Pres Nauvoo, Perorwyr Cadben Ballo, a'r Perorwyr Milwraidd, a fywiogent yr awyr â'u tônau seinber. Gwnaeth y *Silver Greys* ymddangosiad anrhydeddus; a'r manwl-wyr, gan fod yn ffyddlawn i'w dyledswydd, oeddynt wrth eu galwedigaeth yn foreu. Yr heddgeidwaid hefyd, o dan reolaeth effeithiol Cadben Hardy, oeddynt wrth eu gwaith ar yr amser penodedig; ac yr oedd gwynebau y Saint mor llawen a siriol â phe buasai pob un wedi cael ei anrhydeddu ag ymweliad gan angel. Felly y dechreuwyd Cymmanfa Gyffredinol Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn Ninas y Llyn Halen Fawr, yr hon a alwyd i drefn yn y Tabernacl, gan y Llywydd Young, am ddeg yn y boreu.

*Yn bresennol*—O'r Brif Lywyddiaeth—Brigham Young, Heber C. Kimball, a Willard Richards.

Y Patriarch Llywyddol—John Smith.

O Gorwm y Deuddeg—O. Hyde, P. P. Pratt, John Taylor, W. Woodruff, E. T. Benson, G. A. Smith, A. Lyman, C. C. Rich, L. Snow, E. Snow, a Franklin D. Richards.

O Lywyddion y Deg-a-thrugain—J. Young, L. W. Hancock, Z. Pulsipher, H. Herriman, B. L. Clapp, A. P. Rockwood, a J. M. Grant.

Llywyddiaeth Corwm yr Archoffeiriaid—John Young, R. Cahoon, a G. B. Wallace.

Llywydd yr Estynfa—David Fullmer.

Uchel Gynghor Seion, Llywyddiaeth Corwm yr Henuriaid.

Esgob Llywyddol—Edward Hunter.

Ysgrifenydd y Gymmanfa—Thomas Bullock.

Reportiwr—G. D. Watt.

Y Llywydd Young a wnaeth ychydig o sylwadau rhagarweiniol i'r Saint; a dywedodd mai mewn ychydig o flynyddoedd, "y gallwn fe ddichon gael lle digon helaeth i gynnwys y Saint, er fod yr Eglwys, dair blynedd ar hugain yn ol, yn gyfansoddedig ond yn unig o chwech aelod."

Canodd y côr, "On mountain tops in latter days," &c.

Gweddiwyd gan John Taylor. Canodd y côr, "Come, all ye sons of Zion," &c.

Yna "trefn y dydd" a ddarllenwyd gan yr Ysgrifenydd.

Y Llywydd Young a orfoleddai wrth agor y Gymmanfa odan y fath nodded ffafriol.

Yna yr orymdaith a ymffurfiodd wrth ddrws y wisgfa yn y drefn ganlynol—

| | | |
|---|---|---|
| 1. Miwsig milwraidd. | Llumanau. | |
| 2. Côr Pres Nauvoo. | ,, | |
| 3. Perorwyr Ballo. | ,, | |
| 4. Cadben Pettegrew | ,, | gyda gosgorddlu. |
| 5. Cantorion. | | |

6. Y Prif Lywydd a'i Gynghorwyr, a'r oedranus Batriarch.

7. Y Deuddeg Apostol, prif Lywyddiaeth y Deg-a-thrugain, a Llywydd a Chynghorwyr Corwm yr Henuriaid.

8. Llywydd Corwm yr Archoffeiriaid, a'i Gynghorwyr, mewn cyssylltiad â Llywydd yr Estynfa, a'r Uchel Gynghor.

9. Yr Esgob Llywyddol, gyda'i Gynghorwyr, a Llywyddion yr Offeiriadaeth leiaf, a'u Cynghorwyr.

10. Adeiladwyr a gweithwyr a ddewiswyd dros y dydd, gyda baniar, yn arddangos "Gweithwyr Seion."

11. Cadben Merril, gyda gosgorddlu, yn eu gwisg unffurf.

Yna yr orymdaith a gychwynodd trwy y rhes o osgorddlu i'r gongl dde-ddwyreiniol o dir y Deml, tra safodd y cantorion yn y canol, Côr Pres Nauvoo ar y làn ddwyreiniol, Perorwyr Cadben Ballo ar y làn orllewinol, a'r Perorwyr Milwraidd ar y moelglawdd de-orllewinol. Y Cadbeniaid Pettegrew, Hardy, a Merril, â'u gorchymynion, gan sefyll o flaen glàn y sylfaen-gloddiad (yr hwn oedd yn 16 troedfedd o ddyfnder), a chan symud o gongl i gongl gyda gosodiad y gwahanol feini, a rwystrasant ruthriad gormodol y bobl, yr hyn a allai, trwy i'r ddaear roddi ffordd, beryglu bywydau lláweroedd, tra yr aeth y Llywyddion Young, Kimball, a Richards, ynghyd â'r Patriarch John Smith, i osod y conglfaen de-ddwyreiniol; ac wedi iddynt esgyn i'w ben, y côr a ganasant y gân ganlynol:—

Deep in this holy ground
These corner stones are laid;
Rejoicing thousands round,
O God! implore thine aid,
That Zion now may prospered be,
And rear a Temple unto Thee.

How long before thy throne
Shall holy martyrs bleed?
How long shall spirits groan,
And angels mercy plead?
Full long we've toiled, full long have bled,
To bring redemption to our dead.

Here let thy name be known,
Thy blessings manifest,
That men thy truth may own,
And in thy courts be blessed,
All nations feel thy power divine,
And come and worship at thy shrine.

A voice from out the ground
Is heard in accents low,
And spirits, whispering round,
The secret fain would know—
The time! The time! The long sought hour,
The time decreed for Zion's power.

When heaven's royal line
Shall rule this lower sphere,
And Priests and Kings divine
In robes of light appear,
And Saints and Angels, throned in might,
Submerge the earth in endless light;

While heights and depths combine
In one harmonious song,
And in full chorus join
The anthem echo long—
'Tis free! 'Tis free! The world is free!
The Saints have gained the victory.

Yna y LLYWYDD YOUNG a ddarllenodd, oddiar y gareg, y ganlynol

ARAETH.

Yr ydym wedi ymgynnull y boreu hwn ar un o'r achlysuron mwyaf difrifol, dyddorawl, hyfryd, a gogoneddus, ag sydd wedi cymmeryd lle, neu i gymmeryd lle, yn mysg plant dynion, tra y parhao y ddaear yn ei chorffoliad presennol, ac y caffo ateb ei dybenion presennol. Ac yr wyf fi yn cyd-lawenhau â'm brodyr a'm chwiorydd mai ein braint annhraethol yw sefyll yma heddyw, a gweinyddu gerbron yr Arglwydd, ar achlysur a achosodd i dafodau ac ysgrifellau Prophwydi i lefaru ac ysgrifenu dros ugeiniau lawer o ganrifoedd mynedol.

Pan babellodd yr Arglwydd Iesu Grist yn y cnawd—pan adawodd efe ardaloedd mwyaf dyrchafedig gogoniant ei Dad, i ddyoddef a thywallt ei waed dros greaduriaid pechadurus a syrthiedig, fel ein hunain, ac yr ymgynnullodd y bobl oddi amgylch iddo, rhyw wr a ddywedodd wrtho, "Athraw, mi a'th ganlynaf i ba le bynag yr elych." A'r Iesu a ddywedodd wrtho, "Mae ffauau gan y llwynogod, a chan ehediaid y nefoedd nythod; ond gan Fab y Dyn nid oes le i roddi ei *ben* i lawr." Ac nid oes hanes genym i'r dyn hwn ei ddilyn ddim yn mhellach.

Paham nad oedd gan Fab y Dyn le i roddi ei ben i lawr? Oblegid nad oedd tŷ gan ei Dad ar y ddaear—dim un wedi ei gyssegru iddo ef, a'i gadw at ei unig wasanaeth ef, a lleshad ei blant ffyddlawn.

Yr oedd yr Arch a gynnwysai y cyfammod—neu Arch y Cyfammod yn nyddiau Moses, yn cynnwys y cof-ysgrifau cys-

segredig, yn cael ei symud o le i le mewn cert. Ac yr oedd yr Arch hono mor gyssegredig, fel pan estynai dyn ei fraich i'w dal, pan ysgydwai y cert, y tarewid ef, ac y byddai farw. Ac och Dduw na chai pawb a gynnygiai wneyd yr un peth yn yr oes hon (a llefaru yn ffigyrol), fod yn gyfranog o'r un dynghed. A hwy a fyddant yn gyfranog o honi hwyr neu hwyrach, os na chadwant eu dwylaw, a'u tafodau hefyd, yn eu lleoedd priodol, ac attal cynllunio trefn Duwiau y bydoedd tragywyddol.

Pan orphwysai Arch y Cyfammod, neu pan gai plant Israel gyfleusdra i orphwys (canys yr oeddynt hwythau yn cael eu blino a'u herlid yn debyg i Saint y Dyddiau Diweddaf), yr Arglwydd a orchymynodd i Dabernacl gael ei adeiladu, yn mha un y cai Arch y Cyfammod orphwys a bod yn sefydlog. A rhoddwyd hyfforddiadau penodol trwy ddadguddiad i Moses, pa fodd y cai pob rhan o'r Tabernacl crybwylledig ei wneuthur, hyd at y lleni—eu rhif, ac o ba beth y caent eu gwneuthur; a'r tô, a'r coed at y byrddau, ac at y barau, a'r gynteddfa, a'r hoelion, a'r llestri, a'r dodrefni, a phob peth perthynol i'r Tabernacl. Paham yr oedd ar Moses anghen y fath ddadguddiad manwl er adeiladu Tabernacl? Oblegid nad oedd erioed wedi gweled un, a dim yn gwybod pa fodd i'w adeiladu heb ddadguddiad, neu heb gynllun.

Felly y bu Arch y Cyfammod hyd ddyddiau Dafydd, brenin Israel, yn aros neu breswylio mewn Tabernacl, neu babell. Eithr i Ddafydd, rhoddodd Duw orchymyn am iddo adeiladu tŷ iddo ef, yn mha un y gallai Ef ei hun breswylio, neu ymweled ag ef, ac yn yr hwn y gallai gyfrinachu â'i weision pryd y mynai.

Er y dydd yr arweiniwyd plant Israel allan o'r Aifft hyd ddyddiau Solomon, nid oedd gan y Jehofa un orphwysfa ar y ddaear (a pha cyhyd cyn y dydd hwnw, nid yw'r hanes yn gyhoeddedig), eithr rhodiai yn y babell neu'r Tabernacl, o flaen yr Arch, megys y gwelai yn dda, heb le ganddo i roddi ei ben i lawr.

Ni chaniatawyd i Dafydd adeiladu y tŷ y gorchymynwyd iddo ei adeiladu, oblegid mai "gwr gwaedlyd" oedd; hyny yw, yr oedd yn cael ei amgylchynu gan elynion o bob tu, a gorfu arno dreulio ei ddyddiau mewn rhyfel a thywallt gwaed er achub Israel (yn debyg iawn fel y gwnaeth Saint y Dyddiau

Diweddaf, ond iddo ef gael y fraint o amddiffyn ei hun a'i bobl rhag terfysgwyr a llofruddion, tra y nacêir i ninnau hyd yma y fraint hono); ac o ganlyniad, nid oedd amser ganddo ef i adeiladu tŷ i'r Arglwydd, eithr gorchymynodd i'w fab Solomon, yr hwn a'i dilynodd ar yr orsedd, i gyfodi y Deml yn Jerusalem, yr hon a ofynai Duw ar ei ddwylaw ef.

Cynllun y Deml hon—hyd, a lled, ac uchder y cynteddau tufewnol ac allanol, ynghyd â'r holl ddodrefn perthynol iddynt, a roddwyd i Solomon trwy ddadguddiad, o'r ffynnonell gyfreithlawn. A phaham yr oedd y cynllun dadguddiadol hwn yn anghenrheidiol? O herwydd nad oedd Solomon erioed wedi adeiladu Teml, ac am nad oedd yn gwybod pa beth oedd yn anghenrheidiol yn nhrefniad y gwahanol ystafelloedd, yn ddim gwell nag y gwyddai Moses pa beth oedd eisieu yn y Tabernacl.

Y Deml hon (a elwid Teml Solomon, oblegid mai Solomon oedd y pen gweithiwr) a orphenwyd rywbryd yn flaenorol i ymddangosiad Mab y Dyn ar y ddaear, ar agwedd baban Bethlehem; ac yr oedd wedi ei chyflwyno fel Tŷ yr Arglwydd, a'i derbyn fel gwaith gorphenedig gan y Tad, yr hwn a orchymynodd iddi gael ei hadeiladu, fel y gallai ei Fab gael gorphwysfa ar y ddaear, pan yr elai ar ei genadiaeth.

Paham, ynte, y dywedodd yr Iesu wrth y dyn a rydd-ewyllysiodd i'w ddilyn ef pa le bynag yr elai, "Gan Fab y Dyn nid oes le i roddi ei ben i lawr?" Fe wyddai yr Iesu am y Sant a'r canlynwr honedig mai rhagrithiwr ydoedd, ac os dywedai efe wrtho yn eglur na wnai ymdaro gystal â'r ehediaid a'r llwynogod, y gadawsai ef ar unwaith, ac arbedai hyny lawer o drafferth i'r Iesu.

Eithr pa fodd y gallai ymadrodd yr Iesu, "nad oedd ganddo le i roddi ei ben i lawr," fod yn wirionedd? O herwydd fod y tŷ y gorchymynodd ei Dad ei adeiladu at ei dderbyn, er yn orphenedig, wedi ei halogi; ac oddiwrth hyn y tarddodd y geiriau, "Tŷ gweddi yw fy nhŷ i; eithr chwi a'i gwnaethoch yn ogof lladron;" ac efe a wnaeth fflangell o fân reffynau, ac a yrodd y gwerthwyr colomenod a'r newidwyr arian oll allan o'i dŷ, ac a ddadymchwelodd eu byrddau; eithr ni wnaeth hyny buro y tŷ, fel y gallai gysgu ynddo, canys ni all peth santaidd drigo mewn Teml aflan.

Os na allai yr Iesu roddi ei ben i lawr mewn teml aflan ac

halogedig, pa fodd y gall Saint y Dyddiau Diweddaf ddysgwyl i'r Ysbryd Glân drigo gyda hwynt, yn eu tabernaclau a'u temlau o glai, oddieithr iddynt gadw eu hunain yn bur, difrycheulyd, a dihalogedig?

Nid yw yn un rhyfeddod i Fab y Dyn, yn fuan ar ol ei adgyfodiad o'r bedd, i esgyn at ei Dad, canys nid oedd lle ganddo ar y ddaear i osod ei ben i lawr; yr oedd ei dŷ o hyd yn meddiant ei elynion, fel na chai neb y fraint o'i buro, pe meddent y tueddfryd, ac o'r ochr arall y gallu i'w wneyd; a'r cyfanneddwyr o hono oeddynt broffeswyr mewn enw, eithr mewn gwirionedd yn ragrithwyr a gwrthgilwyr, oddiwrth ba rai ni ellid dysgwyl un peth da.

Yn fuan ar ol esgyniad yr Iesu, trwy derfysgiaeth, merthyrdod, a gwrthgiliad, aeth Eglwys Crist ar ddifancoll o'r ddaear; y plentyn gwrryw, sef yr Offeiriadaeth santaidd, a gymmerwyd i fyny i'r nef, o ba le y daeth; ac nid ydym yn clywed rhagor am dani ar y ddaear, hyd nes yr adferwyd hi gan angylion i Joseph Smith, trwy weinidogaeth yr hwn y cafodd Eglwys Iesu Grist ei hadferu a'i hail-gorffoli ar y ddaear, dair mlynedd ar hugain yn ol, i'r dydd hwn, o dan yr enw "Saint y Dyddiau Diweddaf," er eu gwahaniaethu oddiwrth Saint y dyddiau gynt.

Yn fuan wedi hyn, yr Eglwys, trwy ein hanwyl Brophwyd Joseph, a orchymynwyd i adeiladu Teml i'r Goruchaf, yn Kirtland, Ohio; a dyma y Tŷ nesaf o eiddo yr Arglwydd a glywn sôn am dano ar y ddaear, er dyddiau Teml Solomon. Nid yn unig fe dderbyniodd Joseph ddadguddiad a gorchymyn i adeiladu Teml, eithr efe a dderbyniodd gynllun hefyd, megys y cafodd Moses at y Tabernacl, a Solomon at ei Deml; canys heb gynllun nis gallasai wybod pa beth oedd eisieu, gan na welodd un erioed, ac na fu wybyddus o'i gwasanaeth.

Heb ddadguddiad, nis gallai Joseph wybod pa beth oedd eisieu fwy nâ rhyw ddyn arall; ac heb orchymyn, yr oedd yr Eglwys yn rhy anaml mewn nifer, yn rhy wan mewn ffydd, ac yn rhy dlawd mewn pwrs, i gynnyg at y fath orchwyl mawr. Eithr trwy offerynoliaeth yr holl gymhellyddion hyn,—dyrnaid bach o wyr, yn byw ar wynt, ac ychydig rynion a llaeth, ac yn fynych halen neu ddim halen pan na ellid cael llaeth—y Prophwyd mawr Joseph, yn y chwarel, yn tori y graig â'i ddwylaw ei hun; a'r ychydig y pryd hyny yn yr Eglwys, yn dilyn ei

esiampl o ufydd-dod a diwydrwydd lle bynag yr oedd fwyaf o anghen; a gweithwyr ar y muriau, yn dal y cleddyf yn un llaw er amddiffyn eu hunain rhag y terfysglu, tra y lleolent y gareg ac y symudent y llwyar â'r llall,—cafodd Teml Kirtland, yr ail Dŷ o eiddo yr Arglwydd, ag y meddwn hanes cyhoeddedig am dano ar y ddaear, ei orphen cyn belled ag i gael ei gyssegru. A'r Henuriaid cyntaf hyny a gynnorthwyasent i'w adeiladu, a dderbyniasant gyfran o'u cynnysgaethiadau cyntaf, neu gallem ddywedyd yn fwy eglur, rai o'r ordinhadau cyntaf, neu ragarweiniol, neu gychwynol, yn rag-barotoadol i gynnysgaethiad.

Nid oedd yr ordinhadau rhag-barotoadol a weinyddwyd yno, er eu hanrhydeddu gan weinidogaeth angylion, a phresennoldeb yr Arglwydd Iesu, ond cyffelybiaeth ddiffygiol o ordinhadau Tŷ yr Arglwydd yn eu cyflawnder; etto, trwy gyrhyrfiad y diafol, meddyliodd llawer iddynt dderbyn yr oll, ac y gwyddent gymmaint â Duw; maent hwy wedi gwrthgilio, a myned i uffern. Eithr byddwch sicr, frodyr, nad oes ond ychydig, ïe, ychydig iawn o Henuriaid Israel, yn awr ar y ddaear, a wyddant ystyr y gair *cynnysgaethiad.* Er gwybod, rhaid iddynt fod yn brofiadol; ac er bod yn brofiadol, rhaid i Deml gael ei hadeiladu.

Gadewch i mi roddi yr ystyr i chwi yn fyr. Eich cynnysgaethiad yw, derbyn yr holl ordinhadau hyny yn Nhŷ yr Arglwydd, ag sydd yn anghenrheidiol i chwi, ar ol ymadael â'r bywyd hwn, er eich galluogi i rodio yn ol i bresennoldeb y Tad, gan fyned heibio i'r angylion a safant fel gwyliedyddion, a bod yn abl i roddi iddynt y trwydd-eiriau, yr arwyddion a'r dangosiadau perthynol i'r Offeiriadaeth santaidd, a chyrhaedd eich dyrchafiad tragywyddol, er gwaethaf daear ac uffern.

Pwy, yn y gynnulleidfa hon, a dderbyniodd ac a ddeallodd y fath gynnysgaethiad? Nid oes achos i chwi ateb. Eich lleisiau a fyddent yn ychydig ac anaml; etto y mae yr agoriadau at y cynnysgaethiadau hyn yn eich plith, ac y mae miloedd wedi eu derbyn hwynt, fel na raid i'r diafol, a'i holl gynnorthwywyr, dybied y gall etto ddyfetha yr Offeiriadaeth santaidd oddiar y ddaear, trwy ladd ychydig, canys ni fedr ei wneyd. Mae Duw wedi estyn ei law, am y waith olaf, i waredu ei bobl, sef yr onest eu calonau, ac nis gall Lusiffer ei attal.

Cyn y gallai y cynnysgaethiadau hyn gael eu rhoddi yn Kirtland, gorfu i'r Saint ffoi rhag y terfysg-luoedd. A thrwy drafferth a llafur beunyddiol, cawsant ieoedd yn Missouri, lle y gosodasant gonglfeini Temlau, yn Seion a'i Hestynfeydd; ac yna gorfu iddynt encilio i Illinois, er achub bywydau y rhai a allent ddianc ymaith yn fyw o Missouri, lle syrthiodd yr Apostol David W. Patten, gyda llawer o gymdeithion ereill, a lle y cafodd Joseph ac Hyrum, a llawer ereill, eu carcharu mewn daeardai ffiaidd, a'u bwyda â chnawd dynol. Eithr cyn i hyn oll fyned heibio, yr oedd y Deml, yn Kirtland, wedi syrthio i ddwylaw dynion drygionus, ac wedi cael ei halogi ganddynt, fel y Deml yn Jerusalem, ac o ganlyniad wedi cael ei gwrthod gan y Tad a'r Mab.

Yn Nauvoo, cyssegrodd Joseph Deml arall, y drydedd mewn hanesyddiaeth. Efe a wyddai am yr hyn oedd yn eisieu, canys yr oedd yn flaenorol wedi rhoddi eu cynnysgaethiad i'r rhan fwyaf o'r personau neillduol ag oedd o'i flaen y pryd hyny. Nid oedd anghen dadguddiad arno ef, ynte, ynghylch peth y bu yn hir brofiadol o hono, mwy nag sydd ar y rhai hyny yn awr ag a fuont brofiadol o'r un pethau. Dim ond lle y mae profiad yn methu, y mae eisieu dadguddiad.

Cyn i Deml Nauvoo gael ei gorphen, cafodd Joseph ei lofruddio—ei lofruddio yn ngoleu yr haul, o dan nodded y lywodraeth ardderchocaf a fodolai y pryd hyny, ac a fodola yn awr, ar ein daear. A roddwyd iawn am ei waed? Naddo! A phaham? Ni roddwyd iawn erioed am waed merthyr i wir grefydd ar ein daear. Nid oes gallu gan un dyn, na chenedl o ddynion, heb yr Offeiriadaeth, i roddi iawn dros bechod felly. Mae eneidiau pawb felly, er dyddiau yr Iesu, "o dan yr allor," ac yn gwaeddi ar Dduw, ddydd a nos, am ddial. Ac a gant hwy waeddi yn ofer? Na ato Duw. Efe a addawodd y gwrandawai hwynt yn ei amser da ei hun, ac yr ad-dalai wobr gyfiawn.

Eithr beth am y Deml yn Nauvoo? Trwy gymhorth y cleddyf mewn un llaw, a'r llwyar a'r morthwyl yn y llall, gydag arfau tân wrth law, a mintai gref o heddgeidwaid, ynghyd â bendithion y nef, darfu i'r Saint, trwy newyn, a syched, a lludded, a gwylio, a gweddio, orphen y Deml cyn belled, er gwaethaf dyfeisiadau y terfysglu, fel y derbyniodd lawer oedd

gyfran fach o'u cynnysgaethiad; eithr ni wyddom am un a'i derbyniodd yn ei gyflawnder. Ac yna er achub bywydau yr holl Saint rhag llofruddiaeth greulawn, ni a symudasom tua'r gorllewin; a chan gael ein harwain gan lygad holl-ymchwilgar y Jehofa mawr, ni a gyrhaeddasom y lle hwn.

Am ein taith yma, nid oes anghen dweyd dim, ond yn unig mai Duw a'n harweiniodd. Am ddyoddefiadau y rhai a orfodwyd i adael Nauvoo yn ngauaf 1846, nid oes anghen i ni ddweyd dim. Mae y rhai a fu yn brofiadol yn gwybod; a dywedyd wrth y rhai na fu yn brofiadol, fyddai gyffelyb i ddangos llun hardd i ddyn dall.

Nid aroswn i fynegi wrthych am ddyoddefiadau gwragedd gweddwon a phlant amddifaid ar diroedd Omaha, tra yr oedd eu gwyr a'u tadau yn teithio gwastad-diroedd llosgadwy y Deau, i ymladd brwydrau gwlad ag a'u halltudiodd hwy oddiwrth wareiddiant, canys hwy a sicrasant y tir ar yr hwn y trigwn, oddiwrth elynion ein cenedl; dadguddiasant aur Califfornia, a throisant y byd y tu isaf i fyny. Mae yr holl bethau hyn o'ch blaen—chwi a'u gwyddoch, ac nid oes eisieu i ni eu hail-adrodd wrthych.

Tra yr oedd y pethau hyn yn cymmeryd lle gyda'r Saint yn yr anialwch, darfu i'r Deml yn Nauvoo fyned i ddwylaw y gelyn, yr hwn a'i halogodd i'r graddau hyny nes i'r Arglwydd nid yn unig beidio ei thrigfanu, eithr ffieiddio ei chael wedi ei galw ar ei enw, a chaniatâu i ddigofaint ei meddiannwyr i'w phuro trwy dân, fel arwydd o'r hyn a syrthia yn ebrwydd arnynt hwy a'u trigfanau, os na edifarhant.

Ond i ba beth yr ydym ni yma heddyw? I gadw dydd genedigaeth ein crefydd! I osod sylfaen Teml i'r Goruchaf Dduw, fel pan ymddangoso drachefn ei Fab, a'n Brawd henaf, y gallo gael lle i osod ei ben i lawr, ac nid yn unig aros noson neu ddiwrnod, eithr cael lle o heddwch, fel y gallo drigo nes y medr ddywedyd, Mi a foddlonwyd.

Frodyr, a gaiff Mab y Dyn ei foddloni â'n gweithrediadau y dydd hwn? A gaiff ef dŷ ar y ddaear, ag y gall ei alw yn eiddo ei hun? A gaiff ef le i osod ei ben i lawr, a gorphwys dros nos, ac aros cyhyd ag y myno, a chael ei foddio â'i letty?

Mae y rhai hyn yn gwestiynau i chwi i'w hateb. Os dywedwch y caiff, bydd genych chwi i wneuthur y gwaith, neu fe

fydd heb ei wneuthur. Nid ydym yn ymofyn dim grwgnachwyr ynghylch y Deml hon. Os na ellwch ddechreu yn siriol, a myned trwy waith yr holl adeilad yn siriol, cychwynwch i Califfornia, a goreu oll po gyntaf. Gwnewch i chwi lo aur, ac addolwch ef. Os nad yw eich gofal am ordinhadau iachawdwriaeth, drosoch eich hunain, eich byw, a'ch meirw, yn gyntaf a blaenaf yn eich calonau, yn eich gweithredoedd, ac yn mhob peth a feddwch, ewch! talwch eich dyledion, os oes arnoch rai, ac ewch mewn tangnefedd, a phrofwch i Dduw a'i holl Saint eich bod yr hyn a broffeswch fod, trwy eich gweithredoedd, sef yn Dduw y duwiau, ac yn gwybod mwy nâ'r Hwn a'ch gwnaeth.

Eithr os ydych yr hyn a broffeswch fod, gwnewch eich dyledswydd, aroswch gyda'r Saint, talwch eich degwm, a byddwch mor barod i dalu ag ydych i borthi eich teulu; a'r Deml, yr hon y gosodasom yn awr ei chonglfaen de-ddwyreiniol, a gyfyd mewn gwychder a harddwch, mewn dull ac amser nad ydych hyd yma wedi ei wybod na'i ddychymmygu.

Mae Saint y dyffrynoedd hyn wedi cynnyddu mewn cyfoeth, a chyflawnder o gysuron bywyd, mewn modd digyffelyb hyd yma ar dudalen hanesyddiaeth, ac os gweithredant hwy tuag at eu Tad Nefol, fel ag y mae ef wedi gweithredu tuag atynt hwy, bydd y Deml hon yn fuan wedi ei hamgau. Ond os ewch i feddwl am elwa gyda dyeithriaid yn pasio heibio, fel ag y mae llawer hyd yma wedi gwneyd, ni fyddwch byw i weled careg uchaf y Deml hon yn cael ei gosod; ac fe fydd eich llafur a'ch lludded drosoch eich hunain a'ch cyfeillion, byw a marw, yn waeth nâ phe buasech heb fodoli.

Cyflwynwn hwn, conglfaen de-ddwyreiniol y Deml hon, i'r Goruchaf Dduw. Arosed mewn heddwch hyd nes y gorpheno ei waith, ac hyd nes y byddo i'r Hwn a dueddodd ein calonau i gyflawni prophwydoliaethau ei brophwydi santaidd (fel y byddai i Dŷ yr Arglwydd gael ei adeiladu "yn mhen y mynyddoedd"), gael ei foddloni, ac iddo ddywedyd, Digon yw. A boed i bob perchen tafod, ysgrifell, ac arf, a gyfodo yn erbyn hwn, neu unrhyw gonglfaen arall o'r adeilad yma, deimlo digofaint a ffrewyll Duw llidiog! Boed pechaduriaid yn Seion yn ofnog, a dychryn a frawycho y rhagrithiwr, o'r awr hon allan. A boed i bawb na theimlont i ddywedyd Amen, fyned

ar ffrwst i'r nos hirfaith hono o orphwysdra, o ba un ni ddihuna y cysgadur nes ei ddeffroi gan udgorn yr ail adgyfodiad.

Y Llywydd Kimball a offrymodd y ganlynol

WEDDI.

O Dduw, y Tad tragywyddol, yn enw dy Fab Iesu Grist o Nazareth, ceisiwn genyt y pryd hwn i edrych arnom yn dy drugaredd. Ti a weli fod dy weision, Brigham a'i Gynghorwyr, wedi gosod prif gonglfaen Tŷ santaidd, yr hwn ydym yn nghylch ei gyfodi i'th enw. Dymunwn wneyd hyny â dwylaw glân a chalonau pur ger dy fron di, ac o flaen dy engyl santaidd.

Diolchwn i ti am ganiatâu i ni fyw yn y cnawd, ac i gael lle ar dy droedfainc, a chyfranogi yn feunyddiol o haelionusrwydd dy ddwylaw; canys ti yw ein Tad, ac Iesu Grist yw ein Brawd hynaf.

Yn gymmaint, O Arglwydd, ag y dymunwn gyfodi Tŷ i'th enw, fel, os mai da genyt fydd dyfod a chymmeryd dy breswyl ar y ddaear, y gelli gael lle i osod dy ben i lawr, gweddiwn ar i ti ein cynnorthwyo i'w gyfodi mewn purdeb ger dy fron di, a'r lluoedd nefol.

Gofynwn genyt ein cynnorthwyo i ymddwyn yn y fath fodd, fel y byddo yr holl brophwydi santaidd, angylion y nefoedd, gyda Thi a'th Fab, yn ddiwyd yn wastadol er ein llwyddiant ni, yn y gwaith o iachawdwriaeth a bywydau tragywyddol. Bendithia ni yn yr ymgais hon i ogoneddu dy enw. Bendithia y rhan hon o'r ddaear y trigwn arni, ïe, dyffrynoedd hyn y mynyddau, y rhai a gyssegrasom i'th enw. Pâr iddynt ddwyn allan gynnyrchion y tir, mewn cyflawnder mawr. Bendithia yr hadau a osodir ynddo gan dy weision a'th law-forwynion. Ac yn gymmaint â bod eu gogwyddiad i wneuthur dy waith di, ac adeiladu Teml i'th enw, yr hyn yw eu bwriad a'u penderfyniad diysgog, bydded y nefoedd â'i thiriondeb arnynt. Bydded y ddaear yn santeiddiedig er eu lles; a'r hadau a daflont iddi, a gynnyrcho yn ol iddynt ar eu canfed. Gweddiwn ar i ti fendithio y cyfryw wrrywod a benywod—bendithion yr Hollalluog a orphwyso yn helaeth arnynt, ac a'u lliosogo yn eu teuluoedd, yn eu corlanau a'u deadelloedd, ac a'u bendithio mewn nerth ac mewn iechyd, mewn iachawdwriaeth, ac mewn bywydau tragywyddol.

Gweddiwn hefyd dros y rhai hyny nad ydynt yn teimlo yn ffafriol at dy waith—na foed i'th fendithion eu canlyn, ond bydded iddynt fyned yn ol ac nid yn mlaen; bydded iddynt wywo a pheidio cynnyddu; a bydded i'r cryfdwr a allent fod wedi ei dderbyn, trwy eu ffyddlondeb tuag at dy waith, gael ei amlhau a'i ranu yn mysg dy weision hyn, y rhai ydynt benderfynol i gadw dy orchymynion di, ac i santeiddio eu serchiadau tuag atat.

Edrych ar dy was Brigham, O Arglwydd, a gâd i'th Ysbryd santaidd orphwys yn nerthol arno y dydd hwn, ac o hyn allan. Boed iddo fyw i hyfforddi ynghylch adeiladiad dy dŷ, i weled y gareg uchaf yn cael ei gosod gyda gorfoledd, ac i gyflwyno allweddau iachawdwriaeth a bywyd tragywyddol i'w frodyr o'i fewn. Bendithia ei Gynghorwyr gydag ef; boed iddynt fyw i oedran têg, a gogoneddu Duw trwy eu holl ddyddiau: na foed eisieu byth arnynt am fwyd a dillad, am dadau a mamau, am wragedd a phlant, ac am allu dy Ysbryd i'w hysbrydoli hwy, a'r rhai a roddaist iddynt.

Tywallt allan dy Ysbryd ar dy weision, y Deuddeg Apostol; dy allu a drigo gyda hwynt, er eu haddasu i'r alwedigaeth gyfrifol y galwaist hwynt iddi. Hefyd, mewn cyssylltiad â hwynt, gorphwysed dy Ysbryd ar Gorwmau y Degau-a-thrugain, yr Archoffeiriaid, yr Esgobion, yr Uchel Gynghor, yr Henuriaid, Offeiriaid, Athrawon, a'r Diaconiaid; ac ar bob aelod ffyddlawn o'th Eglwys yn nyffrynoedd hyn y mynyddau, ac yn yr holl fyd.

Yn awr, O Dduw, cyflwynwn y gareg hon i ti. Bydded y fan hon yn santaidd, a'r oll a berthyna iddi. Ac yn gymmaint ag y bydd gelyn, neu berson yn ewyllysio drwg i'th Dŷ, yn ymdrechu gosod maglau i draed dy bobl, bydded iddynt gael eu dal yn eu rhwyd eu hunain, eu dymchwelyd yn eu hanhawsdra eu hunain, a bod heb allu, na dylanwad mewn un modd, i niweidio dy Saint o'r pryd hwn allan ac yn dragywydd. Bydded i allu Duw nerthol Jacob amddiffyn dy weision, gan eu galluogi i weini cyfiawnder ger dy fron di, yr Arglwydd ein Duw.

Gwrandaw ni, O Arglwydd, canys cyflwynwn hwn, y conglfaen de-ddwyreiniol, i ti, gan weddio ar iddo gael huno mewn heddwch, a'i gadw rhag dadfeilio, oblegid prif gonglfaen y Tŷ

a adeiladwn i'th enw ydyw. Bydded i'r unrhyw fendithion fod mewn cyssylltiad â'r tri conglfaen arall, a'r holl weithiau a osodo dy weision eu dwylaw i'w gwneuthur, o'r pryd hwn allan ac yn dragywydd.

Bendithia y pen-saer, yr arolygydd, a blaenoriaid yr amrywiol ddosparthiadau, a'r holl law-weithyddion a godant law, neu a symudant beth er adeiladiad a pherffeithiad dy dŷ hwn; a darpara drostynt hwy, eu gwragedd, eu plant, a'r oll a berthyna iddynt, fel na fo arnynt eisieu un peth da neu anghenrheidiol, tra y byddont yn dy wasanaeth, ac o'r pryd hwn allan ac yn dragywydd.

Cyflwynwn ein hunain i Ti, ynghyd â'n gwragedd, ein plant, ein da, a'n defaid, a'r holl sefydliadau a berthynant i dy bobl yn nyffrynoedd y mynyddau. A'r holl glod, a'r gogoniant, a roddwn i'r Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân. Amen.

Canodd y côr

### Y DEML.

GAN MISS E. R. SNOW.

Ein cyfnod ni heddyw sy'n dair mlwydd ar hugain,
Ac wele'r Gorllewin gan bobloedd yn fyw;
Penododd Duw Abra'm, sef Duw mawr rhyfeloedd,
Sy'n arwain i goncwest, in' artref mwy gwiw.

*Cydgor.*

Y Deml! y Deml! cyfodwn y Deml—
Can's llys iachawdwriaeth, a goleu-dŷ yw,
A gwawl ar y bryniau, a gwialen drygioni,
A phorth i angylion, a throthwy i Dduw.

Conglfeini, sef sylfaen y Deml, mewn heddwch,
Osodwyd yn Ninas ein Brigham i lawr;
Yn 'stefyll gwych Israel, y tir cyssegredig,
Lle trecha cyfiawnder, a'r gwir lwydd yn fawr.
Y Deml! y Deml! &c.

Newyddion daionus i'r 'sprydion yn ngharchar,
A Saint yr holl wledydd ac ynysoedd y môr;
Ceir Teml i'r Arglwydd yn mhen y mynyddoedd,
Llawenydd i lysoedd goruchel yr Iôr.
Y Deml! y Deml! &c.

Llonhewch, chwi rai addfwyn a drylliog o galon,
Gwarediad eich Seion sy'n agos wrth law;

Y llèn ga ei rhwygo, a'r Saint adgyfodant,
A Theyrnas y nefoedd ar fyrder a ddaw.
Y Deml! y Deml! &c.

Daw'r Arglwydd a geisiwch yn sydyn i'w Deml,
Yr angel cyfammod fu'n swnio'n eich cân;
Holl Israel a bura fel aur yn y ffwrnais,
Gan ddifa y sorod yn angerdd y tân.
Y Deml! y Deml! &c.

Dadseiniwch gân moliant i'r Tad tragywyddol,
Yr hwn a rydd luniaeth i'w blant yn mhob gair;
Bendigaid fo Brigham, ac Heber, a Willard,
Ei lais awdurdodol yn nghanol y ddae'r.
Y Deml! y Deml! &c.

*(I'w barhau.)*

---

## YSBRYD Y CHWIORYDD YN Y DYFFRYN.

*Dyfyniad o lythyr oddiwrth y chwaer Sarah Jeremy, at ei phriod, sef yr Henuriad Thomas Jeremy.*

Yr wyf wedi treulio y gauaf diweddaf yn fwy cysurus o ran fy mywioliaeth, nag un amser er pan ddaethym yma; yr oedd genyf ddigon o bob peth oedd arnaf eisieu. Mae y gwenith yn debyg o fyned yn brin, ond fe agora fy Nhad nefol ryw ffordd i ni gael digon etto. Mae llaw fy Nhad nefol wedi bod, ac yn bod gyda mi, er pan ymadawsoch, a hyny mewn modd gwyrthiol iawn mewn llawer o bethau. Yr wyf yn diolch iddo am hyn. Yr wyf fel pe bawn yn dysgwyl cael eich gweled yn dyfod tuag at y tŷ, ond yn ofer. Nid wyf yn dymuno eich gweled yn dyfod yn ol, cyn y byddoch wedi cwpla eich gwaith dros eich Tad nefol; yr wyf fi yn gobeithio y bydd iddo ef roddi nerth i chwi gofio eich cyfammodau, ac i fod yn ystwyth fel ag yr ydych wedi bod. Gobeithio y bydd i chwi, ynghyd â'r brodyr ereill, fod yn offerynau defnyddiol yn llaw fy Nhad nefol, i achub miloedd. Nid wyf yn ysgrifenu y pethau hyn atoch er mwyn eich cynghori: gwn nad oes genyf hawl i gynghori yr hwn sydd wedi cael ei osod yn ben arnaf; ond fy awydd yw cael fy achub trwyddoch chwi, ac nid trwy neb arall. Fy Nhad nefol a roddo nerth i mi bob amser i fod yn ufydd i chwi. * * * Yr wyf wedi talu fy holl ddegwm, ac yn benderfynol i gyflawni pob dyledswydd arall.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Nac ymddiriedwch yn addewid y tyngwr a'r rhegwr, canys yr hwn a feiddia bechu yn erbyn Duw heb un budd na lles, a drosedda yn rhwydd yn eich erbyn chwi er ei les ei hun. Yr hwn a feiddia dori gorchymynion ei dad, a ddarbwyllir yn hawdd i dori ei addewid i'w frawd.

Y mae yn gam da tuag at ddedwyddwch, i ymhyfrydu yn ymddyddanion dynion doeth a da; a lle na fyddo y cyfryw i'w cael, y ffordd oreu i'w peidio cadw un math o gwmpeini.

Yn ol y cofrifiad diweddar, cynnwysa Lloegr boblogaeth o 16,921,888; Cymru, 1,005,721; Scotland, 2,888,742; a'r "Ynysoedd," 143,126. Mewn ychwanegiad at hyn, cyfrifid fod 162,490 ar y môr, neu yn ngwasanaeth y fyddin dramor.

St. Barnard a ddywed fod yr athrodwr yn cario y diafol yn ei enau; a gellir dywedyd am yr hwn sydd yn ei wrandaw, ei fod yn cario y diafol yn ei glust.

Ymdrechwch yn hytrach ennill cymmeradwyaeth ychydig o ddynion da, na chael moliant cyffredin y werin ddifoes.

### ENGLYN I UDGORN SEION.

Mawr yw bri Cymru a'i braint,—yn mharthau
Merthyr, rhag digofaint;
O'i hiach oror i'w cheraint,
*Udgorn* sydd at grynhoi Saint.

Robyn Ddu, Eryri.

---

Taliadau o Gor. 8 hyd Gor. 14.—Sir Fynwy, £10; Pontytypridd, 10s; Aberamman, 14s; Dowlais, £1 19s; Hirwaen, 9s 9c; Georgetown, 5s 3c; Pendaren, 2s 5c; Ffynnon-Tydfil, 2s; Pottsville, America, £2 4s.—Cyfanswm, £16 16s 5c.

Gwall.—Diangodd "1852" yn y ddau rifyn blaenorol, yn lle "1853;" ond gwelir fod rhifedi y gyfrol yn iawn.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

### CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 4.] GORPHENAF 23, 1853. [CYF. VI.

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

*A gynnaliwyd yn Ninas y Llyn Halen Fawr, ar y 6fed dydd o Ebrill*, 1853.

[Parhad o dud. 51.]

YR orymdaith a ymffurfiodd drachefn, ac a aeth at y gongl dde-orllewinol, pan y darfu i'r Esgob Llywyddol, Edward Hunter, ei gynghorwyr, ac amrywiol Lywyddiaethau yr Offeiriadaeth leiaf, ynghyd â'u cyd-swyddogion, osod y conglfaen de-orllewinol, pryd y traddodwyd, oddiar ei ben, gan yr Esgob Hunter, y ganlynol

ARAETH.

Frodyr a Chyfeillion—Hwn, sef conglfaen de-orllewinol y Deml hon, yn Nyffryn y Llyn Halen, a Thiriogaeth Utah, a osodwyd gan yr Offeiriadaeth Aaronaidd, yr hon sydd mewn cyssylltiad ag Offeiriadaeth Melchisedec yn dragywydd—er cyssylltu y ddwy Offeiriadaeth hon i adeiladu y Deyrnas yn y dyddiau diweddaf, a dyrchafu dynion ar y ddaear, ac yn mhresennoldeb Duw, a pharotoi erbyn dyfodiad Crist ein Gwaredwr.

Mae y mynedol, y presennol, a'r dyfodol—ein hanes, a'n tynghed, yn dychwelyd gyda nerth deublyg i'n meddyliau, ar achlysur fel hyn. Er anrhydedd i'r Duw mawr yr ydym yn ymgynnulledig yma. Arweiniwyd ni i ddyffrynoedd y myn-

yddau trwy ei allu hollalluog a'i dywysiad gwyliadwrus Ef. Gwaredwyd ni oddiwrth ein gelynion, ac oddiwrth ein gormeswyr, trwy ei ddoethineb anffaeledig, a'i gymmwynasgarwch digyffelyb.

Ni allai y Saint erioed o'r blaen edrych oddiamgylch, a chanfod argoelion mor ogoneddus a llwyddiannus o'u blaen, er cyflawni yr anturiaeth a ddechreuant y dydd hwn. Er y gall fod heddwch am amser wedi gwenu oddiamgylch, etto yr oedd yn gyffelyb i'r teithiwr unig, yn ymdrechu gwneyd ei ffordd trwy y *lava* newydd grestynu, etto twymn, yn mysg llosgeneuau y *volcano* diffoddedig mewn ymddangosiad, yr hwn oedd wedi peidio allwys allan ei hylif dân, yn unig er mwyn casglu nerth adnewyddol a chynnyddol, a danfon allan drachefn ei fflam gaddugol, ei gynddaredd toddedig, a'i ddifrod, at bawb oddiamgylch. Felly y bu erioed gyda y bobl hyn—yn nghanol eu gelynion yr ymdrechasant i adeiladu dinasoedd, yn mha rai y gallent breswylio; a chyfodi temlau i enw y Duw yr hwn a wasanaethant, er mwyn addoli ynddynt, a derbyn eu heneiniadau a'u cynnysgaethiadau santaidd. Eithr nid cynt y dechreuasant, nag y dechreuodd udiadau dyhirwyr teyrnas Satan, gan waeddi, fel y gwnaethant gerbron Pilat, pan laddasant Iachawdwr y byd, "Ymaith ag ef! ymaith ag ef! croeshoelier ef! croeshoelier ef!" A hwy a dywalltasant allan eu llid—lladdasant y Saint, gyrasant hwynt o ddinas i ddinas, ac o dir i dir, gan eu hamddifadu o'u hetifeddiaethau, a dinystrio eu dinasoedd, a'u temlau, a lladd eu Prophwydi.

Megys y bu yn nyddiau ein Hiachawdwr a'i Apostolion, felly y bu yn ein dydd ninnau. Maent wedi defnyddio pob dyfais, a phob ymdrech, er dyfetha yr Offeiriadaeth oddiar wyneb y ddaear. Buont lwyddiannus y pryd hwnw—a fyddant felly yn awr? A gaiff awdurdod Offeiriadaeth santaidd a thragywyddol y Duw Hollalluog, ei gyru drachefn oddiar wyneb y ddaear? y Prophwydi a'r Apostolion eu lladd i gyd, a neb yn cael ei adael mewn meddiant o oraclau bywiol y dwyfol wirionedd? Na chaiff! na chaiff!! Nerth y Jehofah a'n cadwa. Yr Arglwydd Dduw a'n hamddiffyna; a phe dygwyddai i ni gael ein gwasgaru megys hyd yn hyn, Efe a'n casglai gyda mwy o nerth, mwy o nifer, a chyda mwy o allu i gyflawni ei waith ar y ddaear.

Dysged yr holl bobloedd, pechaduriaid, terfysgwyr, a chythreuliaid, oddiwrth brofiad, na lwydda erlidigaeth, anrhaith, lladrad, trais, llofruddiaeth, ac alltudiaeth o dref a gwlad. Maent wedi treio y cynllun hwn yn effeithiol, ac y mae yr un mor effeithiol wedi methu bob tro. Gwelwch yn dda gymmeryd rhybydd! a dyfeisio rhyw gynllun newydd y tro nesaf, yn yr hwn y galloch deimlo rhywfaint o sicrwydd fod yn bosibl i chwi lwyddo, ac fel y caffom ninnau y pleser o beidio cael ein hysbeilio, ein llofruddio, a'n dyfreinio, yn yr un hen ddull. Trethwch eich athrylith ddyfeisgar, am ryw gynllun ardderchocach i ddyfetha pobl Dduw oddiar wyneb y ddaear.

Meddyliwch pe treiech awgrymiad ein hybarchus, etto pellenig, dysgedig, tra moesgar, a'n dierfyniedig groniclydd, Lieutenant Gunnison, "*o'n gadael yn llonydd yn boenydus.*" Eithr ni roddaf awgrymiadau i chwi, gan y meddwyf ymddiried mawr yn eich gallu o gyfnewid eich dull o weithredu. Pan fyddo eich cynlluniau yn myned mor ddystadl, egwan, ac ofer, ag i fyned yn hen ac annyddorawl, dichon yr awgrymaf i chwi. Yn y cyfamser, cofied y Saint yr addewid a roddodd Brigham Young iddynt, ar yr achlysur o doriad y tir at y deml hon, ar y 14eg o Chwefror diweddaf—"Ni chai un o honynt, ag nad oedd wedi myned trwy y prawf tanllyd, golli y fraint, os gwnai barhau yn ffyddlawn; ni chai fod ronyn ar ol o dderbyn yr arteithiau llymaf, ag y mae neb o'r Saint wedi cael eu dyoddef." Os byddwch ffyddlawn, chwi a gewch y fendith addawedig berthynol i'r cymmeriadau hyny a ddaethant yn gyfranogwyr o ddyoddefiadau ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist.

Pan edrychom o amgylch i ni, pa beth a ganfyddwn? Canfyddwn yr arwyddion mwyaf amlwg o lwyddiant, heddwch, a digonedd; ffrwythau hunan-eglur o ofal amddiffynol, diwydrwydd, sobrwydd, a ffydd y nefoedd fry. Pa beth arall a ganfyddwn? Drygioni—yr anghenfil aml-benog, gwrthgiliad, a feiddia ddyrchafu ei ben; lladron a feiddiant ysglyfaethu yn ein mysg.

Ymddengys mai nid cynt y gall yr Arglwydd dywallt ei fendithion ar ei bobl, ac i Seion gael ei ffafrio am dymmor, nag y bydd yn achos i rai gicio, a thin-daflu, gan droi eu sodlau yn erbyn y gallu haelionus hwnw, i ba un maent yn ddyledus am u bodoliaeth—yr hwn a'u porthodd, ac a'u meithrinodd, ac a'u

harweiniodd, yn gyffelyb fel y gwnaeth i'r Saint gynt, trwy gydol y dydd.

Pa beth yw dyledswydd y Saint o dan y fath amgylchiadau? A ydych chwi yn gwybod mai arnoch eich hunain, i raddau mawr, yr ymddibyna eich llwyddiant dyfodol chwi, llwyddiant achos Seion, lledaeniad a chynnydd achos y gwirionedd yn y byd? A ydych yn ystyried mai eich dyledswydd yw puro a santeiddio eich calonau gerbron Duw, bwrw drygioni yn mhell oddi wrthych, gwrthwynebu hudoliaethau, profedigaethau, a chynllwynion Satan, a chan fod felly yn oll-arfedig yn arfogaeth dysclaer uniondeb, gwirionedd, a chyfiawnder, gyda chalonau pur, a dwylaw glân, a chan gyfodi yn ngallu, nerth, a mawrhydi y Jehofa mawr, i osod drygioni i lawr, ïe, gyda llygad eryr, ei ffuredu allan, a chyda braich nerthol, ddystewi mewn dystawrwydd tragywyddol bob ysbryd anniolchgar, yr hwn a haloga, â'i bresennoldeb aflan, y lle santeiddiolaf; yr hwn a fathra dan ei draed, fel peth diddym, y cyfammodau hyny, y rhwymedigaethau difrifolaf hyny a wnaeth ef o hono ei hun? Felly y caiff Israel fwrw allan ddrygioni o'u mysg, a meddu a chadw ffafr Arglwydd y lluoedd.

A ydych chwi yn cofio hanes y Gadiantoniaid, megys ei adroddir yn Llyfr Mormon? Fe'n hamgylchynir ni gan eu disgynyddion. Yr esiamplau ffiaidd ac anwraidd o ddynoliaeth, y rhai a welwn yn feunyddiol yn ein plith, ydynt eu plant, wedi eu hiselhau a'u darostwng i ddyfnderau iselaf bodoliaeth ddynol. Mae ein trigfa ni yn nghanol eu hamddiffynfeydd, lle mae dadfeilion eu dinasoedd, eu trefydd, a'u hamgaerau, i'w gweled etto —maent yn parhau hyd y dydd hwn. A gawn ni, Saint y Goruchaf Dduw, y rhai a fuom y derbynwyr neillduol o oraclau bywyd ac iachawdwriaeth i'r genedlaeth hon, i'r holl genedlaethau i ddyfod, ïe, hyd y nod i'r rhai a'n rhagflaenasant—a gawn ni, trwy syrthni ac esgeulusdod, ganiatâu i sylfaen gael ei gosod yn ein mysg er buddugoliaeth ben-draw drygioni, gwrthgiliad, a phob ffieidd-dra ag sydd yn anghyfanneddu? Dywedaf wrthych, os gwnawn, nad oes achos i ni fyned yn mhellach yn mlaen gyda'r gwaith hwn, oblegid ni a gawn ran, yn fwyaf tebygol, yn nghynghed y Gadiantoniaid hyny a'u plant. Gwell, a gwell o lawer, fyddai i ni ymattal, ac, yn y lle cyntaf, ysgubo o'n mysg ac o'n cyffiniau, bob ôl o annofedig ddrygioni

a phechod. Os na osodwn ef i lawr, efe a'n gosoda ni. Os na wnawn ni, pan gaffom y fraint a'r cyfleusdra, fawrhau ein galwedigaeth, a chyflawni ein cyfammodau, yr Arglwydd ein Duw a dŷn ymaith ei Ysbryd o'n mysg, am ein bod yn weision annheilwng ac esgeulus.

Mi a wn fod y diafol yn ynfydu ac ymddiglloni, pan fyddo y Saint yn parotoi i adeiladu teml; mi a wn ei fod yn manwlchwilio pob twll a chornel, er ennill yr oruchafiaeth, hudo ymaith, peri amryson ac amrafael, a rhwystro llwyddiant y gwaith; mae yn ceisio sïo gwyliadwriaeth y Saint i gau ddiogelwch; oeri eu brwdfrydedd, llethu eu hymdrechion, a'u gwneyd yn ddiles; peri iddynt esgeuluso eu dyledswyddau, a myned yn glaiar a difater at achos Duw.

Frodyr, gadewch i mi eich annog yn erbyn yr hudoliaethau hyn, ac yn erbyn yr annheimladrwydd hwn—nis gwna byth y tro; nid yw yn gweddu i Saint y Dyddiau Diweddaf, gwaith pa rai a ymdreigla arnynt mor gyflym ag y gallant ei gyflawni. Mae y Saint yn gweddio ar eu Tad yn y nefoedd am gyflymu ei waith, a'i dreiglo yn mlaen gyda gallu mawr.

Ai ni wyddoch fod y nefoedd yn barod i ddyhidlo bendithion ag sydd mewn ystôr i'r Saint ffyddlawn, pe buasent yn barod ac yn alluog i'w derbyn? Mae yr Hollalluog Dduw yn barod i sefydlu ei Deyrnas ar y ddaear mewn nerth a mawrhydi, pe buasai ei bobl yn barod i'w derbyn, ac yn barod i weinyddu ynddi mewn santeiddrwydd, purdeb, a doethineb.

Eithr a ydyw y bobl hyn yn barod? Nac ydynt! eu gwaith sydd rag-barotöadol; ac y mae yn dda genyf i gredu fod eu cynnydd rhagddo, a'u bod yn myned yn mlaen tuag at yr undeb, y ffydd, a'r perffeithrwydd hyny, y gweithredoedd da a'r cyrhaeddiadau duwaidd hyny, y rhai a dystiant i'r Arglwydd ein Duw, eu bod yn nesâu yn gyflym tuag at y cyfnod rhyfeddol hwnw, pan yr ymddangosa Mab y Dyn yn ei deml, i gysuro calonau ei bobl.

Mae y Nefoedd yn ffafriol; ac os gweithredwn ni yn iawn, yr Arglwydd ein Duw fydd ein cyfaill, yr hwn a'n bendithia ac a'n llwydda yn ein hymdrechiadau i ddwyn oddiamgylch ein gwaith rhag-barotoadol hwn. Ni a gyfodwn deml i enw y grymus Dduw Jacob, yma yn anialwch y diffaeth-leoedd, yn nghanol y fforest o fynyddoedd, ar y sylfaen a gyssegrwn y

dydd hwn i Arglwydd y lluoedd. Ni a gyfodwn oruwch-adeilad yn mha un y gallwn dderbyn gweinidogaeth angylion a bodau santaidd; yn mha un y gallwn dderbyn hyfforddiadau, a gweinyddu swyddi er achubiaeth ein meirw; derbyn allweddau er adgyfodi Saint Duw; yn mha un y gallwn gyfarfod ag ysbrydoedd y cyfiawn a berffeithiwyd, ac ysgwyd dwylaw drachefn â'r Prophwydi merthyredig, Joseph ac Hyrum, a'r rhai a ddyoddefasant ac a fuont feirw dros dystiolaeth yr Iesu.

Yr ydym mewn sefyllfa llawer mwy cyfleus, ac yn llawer mwy parod at y gwaith hwn, nag erioed o'r blaen, fel pobl. Mae genym dŷ lle y gallwn gynnal ein cynghorau, tabernacl yn mha un i addoli, ystordai i gadw degwm y bobl, a siopau, a pheirianwaith mewn cyflawn weithrediad.

Y mur oddiamgylch y Temple Block, a ddiogela yn fuan y tir hwn rhag pob ymosodiad. Yr ydym, mewn cymhariaeth, yn rhydd o ddyled; ac y mae pob peth yn ymddangos yn ffafriol i gynnydd cyflym y gwaith hwn.

Frodyr, fe ymddibyna ar eich ymdrechion, eich haelioni, a'ch ffyddlondeb chwi, pa un ai araf neu gyflym fydd ei gynnydd. Yr ydym yn awr yn barod i orchymyn i'r Saint—"Deuwch, rhoddwch i ni eich cynnorthwy—dygwch i Dŷ Degwm yr Arglwydd eich degymau a'ch cyssegriadau; talwch yr hyn sydd arnoch, fel y rhyddhaer ein dwylaw, ac y byddom rydd o'n dyled arosol; fel y gorfoleddo calonau y gweithwyr cyhoeddus yn mendithion a chysuron bywyd." Bydded eich haelioni yn adnabyddus trwy eich gweithredoedd, a chofiwch mai eich gwaith eich hunain y'ch gelwir i'w gyflawni, ac un yn yr hwn y mae eich llesoldeb penaf a mwyaf arosol.

Dygwch allan y defnyddiau at adeiladu—ceryg, calch, a thywod; coed a phreniau; y pinwydd, y ffinydwydd, a'r cedrwydd; yr haiarn a'r dur; yr arian, yr aur, a'r meini gwerthfawr; i addurno, a gwneyd yn hardd a gogoneddus le ei bresennoldeb Ef, rhagoriaeth yr hwn sydd uwchlaw dealltwriaeth plant dynion. Amen.

Yr Esgob Cordon a offrymodd y ganlynol

WEDDI.

O Dduw, y Tad tragywyddol, diolchwn i ti am ein bod yn ymgynnulledig yma y boreu hwn, i osod sylfaen teml arall i'th

enw. Ceisiwn genyt, yn enw Iesu Grist dy Fab, i adael dy fendith yn orphwysedig ar hwn, sef y conglfaen de-orllewinol, pa un a osodwyd gan Esgob Llywyddol dy Eglwys, a'i Gynghorwyr. Gorphwysed hefyd dy allu a'th nerth ar dy weision a ymdrechant adeiladu ar yr unrhyw—bydded i'r ysbryd hwnw o unfrydedd a thangnefedd ag a dreiddia ein mynwesau ni y boreu yma, orphwys ar y rhai a lafuriant ar yr adeilad hwn; gorphwysed hefyd ar eu gwragedd a'u plant, ac ymledaened ar hyd a lled y diriogaeth hon, a'r holl fyd, fel y gorfoleddo y rhai onest eu calon, ac y llanwer dy Saint o ddiolchgarwch, a mawl, ac addoliad i'th enw mawr, am y trugareddau a estyni iddynt yn wastadol.

Yn neillduol, gâd i'th Henuriaid sydd ar wasgar, y rhai sydd â'u calonau heddyw yn curo gan orfoledd a boddlonrwydd, deimlo grym a dylanwad dy Ysbryd, ag sydd yn gorphwys mor helaethlawn arnom ni, fel y caffont eu cysuro a'u dyddanu. Boed i'w bywydau gael eu diogelu, fel y gallont ddychwelyd, a chanfod adeilad wedi ei gyfodi i'th enw, a mawr orfoleddu, gan dy addoli di, O Dduw. Boed i'w ffordd gael ei hagor, fel y gallont symud o genedl i genedl, o ddinas i ddinas, ac o drigfan i drigfan. Gâd i'th angylion fyned o'u blaen hwynt, a gweithrediad dirgelaidd dy Ysbryd Glân gyffwrdd â chalonau y bobl er eu daioni, fel y cyflawner dy amcanion yn fuan, fel y casgler Israel o blith cenedloedd y ddaear, fel yr ymdaeno goleuni a gwirionedd, hyd nes y gorfoleddo yr holl rai onest eu calon yn egwyddorion rhyddid, ac y dryllier pob rhwymyn ac iau o eiddo y gormeswr, ac y byddo gwybodaeth a gallu Duw yn toi y ddaear, megys y toa y dyfroedd wyneb yr eigion mawr.

Gweddiwn ar i ti adael i erfyniadau dy was, y rhai a offrymwyd ar y prif conglfaen, gael eu hateb ar benau y bobl hyn, a bydded i'th fendith a'th allu orphwys arno ef a'i frodyr, sef Prif Lywyddiaeth dy Eglwys. Llanwer hwy yn wastadol ag ysbryd dadguddiad, fel y blaguro dy Saint, y llwyddo dy Deyrnas, ac y treiglo dy waith yn y blaen dan eu harweiniad, fel y delo y dydd ar fyrder pan y perchir Seion yn mysg y cenedloedd, ac y cydnabyddir yr Offeiriadaeth santaidd fel yr unig awdurdod, gartref ac oddi cartref, ar y tir ac ar y môr.

Cyfarwydda dy bobl yn dy lwybr, fel y byddont barod i gyflawni dy fwriadau, Boed i'r Deml ag y gosodwn heddyw ei

chonglfeini, gael ei chyfodi i'th enw, a'r gareg uchaf gael ei gosod gyda bloeddiadau o lawenydd ger dy fron. Bydded i bob dyn a estyno ei law er rhwystro i'r peth hwn gael ei gyflawni, suddo i ebargofiant, a bydded i'w allu ddiflanu fel cicaion Jonah. Bydded i'r holl rai a estynant eu dwylaw i adeiladu y Tŷ hwn, neu mewn unrhyw fodd gynnorthwyo i wneuthur hyny, gael eu bendithio yn helaeth â bendithion y nefoedd, ac â bendithion y ddaear. A chydweithied pob peth er daioni dy bobl yn mhob amser dyfodol.

Yr ydym yn cyflwyno y gareg hon, ac yn rhoddi ein hunain i fyny i ti, i wneuthur o honom yn ol dy ewyllys, gan weddio ar i ti gyfarwyddo ein gyrfa, a'n hachub yn dragywyddol yn dy Deyrnas, yn enw Iesu Grist. Amen.

Am ddeunaw mynyd wedi deuddeg, canodd y côr

THE CORNER STONE.

Last Valentine was greatly blest—
A valley sacrifice;
The Israelites, like men of God,
Just broke the ground for bliss.

*Chorus.*

We'll shout a loud hosannah to
The happy days to come,
We'll take a cup of wine anew,
When all the Saints get home.

We lay the Corner Stone to-day,
To give the Lord a place,
That we may all be sanctified,
Through union, truth, and grace.
We'll shout, &c.

We'll rear a Temple to the Lord,
As we have done before;
For tribulation gives us wealth,
And mobbing makes us more.
We'll shout, &c.

We'll tithe ourselves as Abraham did—
Who cares for worldly gain?
The pure in heart will always win,
The just forever reign.
We'll shout, &c.

The persecution we have had,
Like rain upon the ground,

Has softly mellowed every heart,
And made our fruit abound.
We'll shout, &c.

We claim the promises of old,
Endowed with holy light,
As Saints and Angels always have
In circles robed in white.
We'll shout, &c.

The message to the nations now
Is sounding every where;
And every messenger can shout,
Behold the Lord is near.
We'll shout, &c.

As wisdom is the grace of God,
And faith is nothing less,
We'll use them both as Enoch did,
And live in righteousness.
We'll shout, &c.

Where little is, there's little gain'd;
But much to much is given;
With God to guide, we cope with earth—
'Tis we that make our heaven.

We'll shout a loud hosannah to
The happy days to come,
We'll take a cup of wine anew,
When all the Saints get home.

Yr orymdaith a ymffurfiodd drachefn, ac a symudodd at y conglfaen gogledd-orllewinol, gan gael ei dilyn gan fiwsig milwraidd, pan yr aeth John Young, Llywydd Corwm yr Archoffeiriaid, gyda'i Gynghorwyr, a Llywydd yr Estynfa, ynghyd â'r Uchel Gynghor, i osod y gareg. Ar ol i hyny gael ei wneuthur, esgynasant y gareg, a'r Llywydd John Young a draddododd y ganlynol

ARAETH.

Frodyr a Chwiorydd,—Nid oes genyf fi araeth ysgrifenedig i ddarllen o'ch blaen, eithr boddlonaf fy hun yn unig trwy ddadgan y teimladau a lanwant fy mynwes, ar yr achlysur dyddorawl hwn. Yr hyn a ddywedaf, a ddaw ar unwaith o ffynnonell fy nghalon.

Mae genyf un peth i'w ddweyd yn neillduol—mai dyma y

dydd goreu a welais yn fy holl fywyd. Gwn fy mod yn cael fy mendithio yn fawr, mewn cyssylltiad â'm brodyr a'm chwiorydd yn yr Eglwys hon, trwy gael cenad i fyw i weled y dydd hwn, ac i sefyll ar y graig yma, yr hon yw conglfaen gogleddorllewinol Teml ag sydd i'w hadeiladu ar y tir hwn, yr hwn faen a osodasom ni yn enw yr Arglwydd Iesu Grist.

Cadarn gredwyf, megys ag yr ydym ni yn sefyll ar y graig hon, fod Eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf yn sylfaenedig ar graig yr oesoedd tragywyddol. Fy ngweddi a'm dymuniad parhaus yw, gael o honom fyw i weled Teml wedi ei hadeiladu i enw y Goruchaf Dduw. Teimlwyf fy hun wedi cael fy anrhydeddu gan Dduw a'm brodyr, wrth gael y cyfleusdra o sefyll yma heddyw, o lefaru, ac o wybod yr hyn a gefais er pan ddaethym ar dir y Deml.

Gobeithiaf y cawn weled y gareg uchaf neu'r capfaen yn cael ei ddwyn i'w le gyda bonllefau o lawenydd. Credaf y cawn, os aroswn yn ffyddlawn yn achos y gwirionedd.

Gwn yn eithaf da, fod y diafol yn wastadol, ar ddechreuad y Temlau a adeiladwyd hyd yma i enw yr Arglwydd, gan y bobl hyn, wedi symud ei fagnelau gyda mwy o allu a bywiogrwydd ar y cyfryw amser. Dyma sylfaeniad y bedwaredd Deml a osodwyd gan Saint y Dyddiau Diweddaf; ac yr wyf yn gweddio ar i ni oll gael teimlo nerth a gallu i gwblhau y gwaith mawr a gogoneddus y'n gelwir i'w gyflawni.

O'm rhan fy hun, yr wyf yn ymwybodol nad oes genyf fi amser hir i aros ar y ddaear, eithr y mae awydd mawr ynof i fyw mewn cyssylltiad â'm brodyr, i weled y Deml hon wedi ei gorphen. Credwyf y cawn.

Fy mhrif ddyddordeb wrth fyw ar y ddaear, yw gweled gwaith yr Arglwydd yn llwyddo, a chynnorthwyo â'r oll sydd yn fy ngallu er ei dreiglo yn y blaen; a'r achos fy mod yn dywedyd mai dyma y dydd goreu a welais erioed ar y ddaear yw, o herwydd fod yr argoelion o gynnydd Teyrnas Dduw yn fwy yn awr nag y gwelais hwynt erioed o'r blaen yn fy oes. Mae fy nymuniad wedi bod bob amser, yn ystod fy holl fywyd, i weled achos yr Arglwydd yn llwyddo ar y ddaear, eithr yn fwy neillduol felly, er pan gefais afael mewn gwir Eglwys wedi ei sylfaeni gan Brophwyd Duw.

Mae genym Brophwydi yn ein mysg—Gweledydd a Dad-

guddiwr, ac hefyd Apostolion i Iesu Grist. Ai ni wn i fy mod yn sefyll heddyw yn mhresennoldeb y dynion mwyaf ag sydd i'w cael ar droedfainc Duw? Mae fy llais yn awr yn swnio yn nghlustiau y dynion mwyaf ag sydd yr ochr yma i dragywyddoldeb, ac mi a'i gwn. Pe safwn gerbron holl freninoedd, penaduriaid, a thywysogion y ddaear, mewn un gynnulleidfa gyffredinol, ni ellid dechreu cyferbynu hyny â'r achlysur presennol. Dynion ydynt hwy a ddewiswyd gan y bobl yn unig, ac yn amddifad o allu yr Offeiriadaeth dragywyddol. Eithr y rhai hyn ydynt dywysogion Israel, wedi eu galw a'u penodi gan Arglwydd y lluoedd, eu gwisgo ag iachawdwriaeth a bywydau tragywyddol, a'u danfon er bendith i'r ffyddloniaid.

Yr wyf fi yn ddiolchgar a dedwydd. Ni feddaf iaith ddigonol wrth fy ewyllys, er traethu i chwi fy nheimladau yn gyflawn. Os na wnes i araeth ysgrifenedig, syrthiodd i'm rhan i wneyd ychydig o sylwadau llafar. Yr wyf yn falch i sefyll yma gyda'm brodyr, ac i weddio am i allu Ysbryd Duw orphwys ar ei bobl, fel y llwyddont yn ddirfawr, a blaguro a blodeuo, fel cangen ffrwythlawn, ar y mynyddoedd. Mi a deimlais, tra yr oedd y meini hyn yn cael eu gosod, fod angylion Duw oddi amgylch i ni. A boed i nawdd-osgordd o honynt fod yn wastadol yn y lle santaidd hwn, hyd nes y bo pob peth a ddymunwn ei wneuthur er gogoniant ein Tad nefol, a lledaeniad ei achos ar y ddaear, wedi ei gwblhau, yr hyn yw fy ngweddi. Amen.

### GWEDDI GAN YR HENURIAD WALLACE.

Cyfiawn a thrugarog Dduw, y Tad tragywyddol, yn enw Iesu o Nazareth, cyssegrwn a chyflwynwn y gareg hon i ti, sef y Conglfaen gogledd-orllewinol a osodasom, fel rhan o sylfaen Teml i gael ei chyfodi i'th enw mawr a santaidd. Gweddiwn ar i ti, O Dduw, dderbyn yr offrwm hwn oddiar ein dwylaw; a boed i'th dangnefedd a'th fendith aros yma, fel y byddo y fan hon o'r tir yn santaidd i ti, ac na chaffo byth ei halogi gan y rhai ansantaidd, na chan unrhyw beth aflan.

Boed y sylfaen hon mor gadarn â sylfeini y bryniau tragywyddol y rhai nis gellir eu syflid, fel na sigler byth y goruwchadeilad a gyfodir arni, fel y derbynio y bobl eu bendithion

ynddo, er eu cymhwyso i fyned trwy y llèn i'r dedwyddwch nefol.

Gweddiwn, O Arglwydd, ar i ti adael dy dangnefedd ar y rhai a lafuriant ar y gweithiau hyn; ysbrydoler eu calonau gan yr Ysbryd Glân i wybod eu bod yn gweithio er adeiladu tŷ i'th enw, fel y gallo bodau anfarwol ddyfod a gweinyddu yn ordinhadau iachawdwriaeth, a dysgu i'th weision bethau sydd tufewn i'r llèn, er eu parotoi i fyned i'r orphwysfa hono sydd wedi ei rhag-barotoi a'i haddaw i'th Saint. Gweddiwn ar i ti gyssylltu y conglfaen hwn mewn rhwymyn o undeb annattodadwy gyda'r tri ereill, fel y safont mor gadarn â'r Offeiriadaeth dragywyddol a roddaist i ddynion, ïe, dy weision, ag na ellir byth ei syflid allan o'i lle, eithr a saif byth, o'r pryd hwn allan ac yn dragywydd.

Bendithia y bobl sydd wedi ymgynnull ynghyd y dydd hwn: bydded iddynt yn ddydd i'w hir gofio; ffyned dy Ysbryd yn eu mysg, a llanwer pob calon â llawenydd annhraethadwy. Agorer iddynt weledigaethau tragywyddoldeb, fel y canfyddont bethau newyddion a gwerthfawr, ac y gorfoleddont yn egwyddorion santaidd Efengyl Duw, y rhai a ddygwyd i oleuni yn yr oruchwyliaeth hon, trwy weinidogaeth angylion i dy weision, ïe, yn y dyddiau diweddaf hyn.

Bydded ein gelynion gael eu dal yn eu maglau eu hunain, a bydded iddynt syrthio i'r pydew a gloddiasant i'th bobl. Deued gwarthrudd arnynt; a bydded iddynt gael eu troi yn eu hol, a bod heb allu o'r pryd hwn allan ac yn dragywydd, i lwyddo yn erbyn y Saint, ac eneinniog yr Arglwydd. Ysbrydola galonau dy weision y rhai ydynt yn wasgaredig yn mhlith cenedloedd y ddaear, ac ar ynysoedd y môr; bydded i'w golygon gael eu tueddu tuag atom ni y dydd heddyw, a bydded i'w calonau gael eu dyrchafu mewn llawenydd a gorfoledd ger dy fron di. Nertha hwynt, a dyro iddynt lwyddiant mawr ar eu cenadiaethau, a dychwel hwynt mewn anrhydedd i weled capfaen y Deml hon yn cael ei osod arni gyda bonllefau o lawenydd a gorfoledd.

Cyflwynwn yn awr ein hunain, ein gwragedd, ein plant, ein da a'n defaid, i ti, O Dduw, y Tad tragywyddol, gan weddio ar i ti ein derbyn, yn enw Iesu Grist. Amen.

Am bymtheg mynyd i un, y côr a ganodd y ganlynol

GAN.

Come, Saints of Latter days,
Come, sing our Father's praise,
For mercies given—
For truth and righteousness,
Mercy and holiness,
Joy, peace, and blessedness,
That come from heaven.

We thank the Lord that we
This joyful prospect see—
A corner stone
Is laid; and on its base
A glorious Temple raise,
Through God's assisting grace,
The Saints will own.

Come, O! ye nations, come
To Zion—to your home,
Your hearts prepare,
Be taught the way that 's right,
And, walking in the light,
Serve God with all your might—
His glories share.

Yr orymdaith a ymffurfiodd drachefn, ac a aeth at y Congl-faen gogledd-ddwyreiniol, yr hwn a osodwyd gan y Deuddeg Apostol, Prif-lywyddiaeth y Deg-a-thrugain, a Llywyddiaeth Corwm yr Henuriaid. Yna yr Apostolion a esgynasant y gareg, a'r Henuriad P. P. Pratt a draddododd y ganlynol

ARAETH.

"A phan ddywedant wrthych, Ymofynwch â'r swynyddion, ac â'r dewiniaid, y rhai sydd yn hustyng, ac yn sibrwd: oni ddylai pobl ymofyn â'u Duw? er i'r byw glywed oddiwrth y meirw?"

Y testun blaenorol a gopïwyd gan Nephi o Lyfr Isaiah, oddeutu chwech cant o flynyddoedd cyn Crist, ac a gynnwysir yn awr yn Ail Lyfr Nephi, pen. ix.

Am yr ychydig flynyddoedd diweddar, mae y byd wedi ei aflonyddu yn fawr gan ohebiadau honedig o fyd yr ysbrydoedd. Dywedir fod "Mesmeryddiaeth," "Claerweliad," "Cnociadau Ysbrydol," "Ysgrifen Gyfryngau," &c., yn gyfryngau goheb-iaeth rhwng y byw a'r meirw. Mor fynych y cyferfydd un â

gwahoddiad i ymofyn â rhyw "gyfrwng"—â rhyw "swynwr," cynnefin ag ysbrydion, er mwyn clywed oddiwrth dad, mam, gwr, gwraig, neu ryw berthynas arall neu ffrynd trengedig.

Ar y llaw arall, mae y gohebiadau honedig hyn o fyd yr ysbrydoedd yn cael eu gwrthwynebu yn selog, ar y tir nad oes y fath athroniaeth, mewn natur; nad all fod un cyfrwng o ohebiaeth rhwng y byw a'r rhai ydynt wedi myned trwy fro marwolaeth; ac o ganlyniad, fod gohebiadau honedig o'r ffynnonell hono o angheurhaid yn gau.

Mae yn gweddu i'r Saint fod yn alluog, ar y pwnc hwn, yn gystal ag ar bob pynciau ereill, i farnu yn gywir a deallgar, trwy eu gwybodaeth o egwyddorion gwir athroniaeth, ac o gyfreithiau Duw a natur.

Os ar un llaw yr addefwn yr egwyddor o ohebiaeth rhwng byd yr ysbrydoedd a'n byd ni, ac ymollwng i arweiniad rhydd neu ddiwahaniaeth pob eglurhad ysbrydol, yr ydym yn agored i gael ein cylch-arwain gyda phob awel dysgeidiaeth, a chan bob math o ysbryd a gyfansodda yr amrywiaeth bodau, a meddyliau, yn myd yr ysbrydoedd. Gall cythreuliaid, ysbrydion drwg neu aflan, ysbrydion godinebus neu lofruddiog, y rhai a garant neu a ddywedant gelwydd, ohebu â bodau yn y cnawd, yn gystal â'r rhai ydynt yn fwy geirwir a rhinweddol.

Drachefn, fe all yr ysbrydion sydd yn anwybodus, ac anniwylliedig, ac a arosant mewn cyfeiliornad, ohebu trwy yr un cyfrwng â'r rhai ag ydynt yn fwy hyddysg.

Er egluro y pwnc hwn, ni a sylwn ar y *telegraphic wire* fel cyfrwng gohebiaeth rhwng New York a Boston.

Trwy y cyfrwng hwn gallai Prophwyd santaidd, neu Apostol, drosglwyddo geiriau cyssegredig a santaidd y gwirionedd; tra trwy yr unrhyw y gellid trosglwyddo hefyd eiriau gwirionedd o barthed i newyddion, trafodaeth mewn masgnach, y celfyddydau, &c.; ac hefyd bob math o gelwydd, cyfeiliornad, twyll, dichell, &c. Oddiwrth hyn, ped ymostyngai pobl New York i arweiniad bodau yn Boston ag sydd yn gohebu â hwy trwy y *telegraph* neu gyfryngau ereill, hwy a arweinid gan gymmysgedd o wybodaeth, gwirionedd, cyfeiliornad, celwydd, &c., mewn pob rhyw fath o amrywiaeth. Felly hefyd gyda gohebiadau o fyd yr ysbrydoedd, os unwaith y coeliwn yr athroniaeth, neu y ffaith o fodoldeb cyfrwng gohebu.

Os, ar y llaw arall, y gwadwn yr athroniaeth, neu y ffaith o ohebiaeth ysbrydol rhwng y byw a'r rhai sydd wedi marw, yr ydym yn gwadu yr unig ffynnonell o ba un y deilliodd y gwirioneddau neu'r egwyddorion mawrion ag oedd yn sylfaen i'r Eglwys gyntefig a phresennol.

Pwy a ohebodd â'r Iesu a'i ddyscyblion ar y mynydd santaidd? Moses ac Elias, o'r byd anweledig. Pwy a gyflwynodd i'r Apostolion y commisiwn i bregethu yr Efengyl i bob creadur yn yr holl fyd? Yr Hwn ag oedd wedi myned trwy fro marwolaeth, ac wedi preswylio yn myd yr ysbrydoedd; ïe, yr Hwn ag oedd wedi esgyn yn uchel fry, uwchlaw tiriogaethau angeu, ac yn mhell uwchlaw holl dywysogaethau ac awdurdodau byd yr ysbrydoedd, ac wedi myned, a chael ei goroni yn nghrigfanau cnawd anfarwol.

Pwy a ohebodd â'r dyscybl anwyl ar Ynys Patmos, ac a ddadguddiodd y gwirioneddau gogoneddus a gynnwysir yn ei lyfr prophwydoliaethol? Yr Hwn sydd fyw ac a fu farw, trwy ei angel, yr hwn a ddywedodd wrth Ioan, "Wele, cydwas ydwyf i ti, ac i'th frodyr y prophwydi, y rhai sydd ganddynt dystiolaeth Iesu."

Pwy a ohebodd â'n Prophwyd mawr diweddar ni, ac a ddadguddiodd trwyddo fel cyfrwng, hen hanesyddiaeth hanner byd, a chof-ysgrifau y meirw gynt? Moroni, yr hwn a fu byw ar y ddaear bedwar cant ar ddeg o flynyddau cyn hyny. Pwy a ordeiniodd Joseph y Prophwyd, a'i gyd-was, i'r Offeiriadaeth rag-barotoadol, i fedyddio er maddeuant pechodau? Ioan Fedyddiwr, yr hwn y torwyd ei ben ymaith! Pwy a ordeiniodd ein sylfaenwyr cyntaf i'r Apostoliaeth, i ddal agoriadau teyrnas Dduw, yn yr amseroedd adferiad hyn? Pedr, Iago, ac Ioan, o'r byd tragywyddol. Pwy a ddysgodd Joseph yn nirgeledigaethau y Deyrnas, ac yn yr holl bethau perthynol i Offeiriadaeth, cyfraith, athroniaeth, saernïaeth gyssegredig, ordinhadau, seliadau, eneinniadau, bedyddiadau dros y meirw, ac yn nirgeledigaethau y gyntaf, yr ail, a'r drydedd nefoedd, llawer o ba rai ydynt yn anghyfreithlawn i'w traethu? Angylion ac ysbrydion o'r bydoedd tragywyddol.

Pwy a ddadguddiodd iddo ef y cynllun o waredigaeth, ac o ddyrchafiad i'r meirw a fuont farw heb yr Efengyl? a'r allweddau a'r parotoadau anghenrheidiol er cydymddyddan

santaidd a pharhaus ag Iesu Grist, ac ag ysbrydion y cyfiawnion y rhai a berffeithiwyd, ac â chynnulleidfa gyffredinol ac Eglwys y cyntaf-anedig, yn y cyssegr santeiddiolaf? Rhai oddiwrth y meirw!

Etto—Pa fodd y dysgwylia y Saint yr hysbysiaeth angenrheidiol trwy ba un i gwblhau y gweinyddiadau er iachawdwriaeth a dyrchafiad eu cyfeillion sydd wedi marw?

Trwy un yn dal allweddau oraclau Duw, fel cyfrwng trwy ba un y gall y byw glywed oddiwrth y meirw.

A gawn *ni*, ynte, wadu yr egwyddor, yr athroniaeth, y ffaith, o ohebiaeth rhwng bydoedd? Na chawn yn ddiau!

*(I'w barhau.)*

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

GWRAIG.—Gwraig ansefydlog yw yr hon sydd wedi colli ei chariad; gwraig dwyllodrus yw yr hon sydd eisoes mewn cariad ag arall; gwraig anwadal yw yr hon sydd yn methu gwybod pwy y mae yn garu, neu pa un a yw yn caru neu beidio; a gwraig ddiofal yw yr hon sydd heb garu oll.

GWYBODAETH.

Y rîs sy gyntaf mewn gwybodaeth im',
Yw gwybod nad wyf braidd yn gwybod dim;
A'r olaf, ydyw gwybod yn ddilyth,
Fod mwy i wybod nag a wypaf byth. (1839.)

---

TALIADAU O GOR. 15 HYD GOR. 21.—Sir Frycheiniog, £2; Sir Ddinbych, £1; Caerdyf, 13s; Pontytypridd, 9s 6c; Llanfabon, 3s 11c; Aberdare, 16s; Georgetown, 5s 1c.—Cyfanswm, £5 17s 7c.

☞ Gwerthasom y "Casgl" 3s 6c i gyd, eithr mae rhai 3s, 3s 3c, 3s 4c, a 3s 5c, ar werth etto.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 5.] GORPHENAF 30, 1853. [CYF. VI.

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

*A gynnaliwyd yn Ninas y Llyn Halen Fawr, ar y 6fed dydd o Ebrill*, 1853.

[Parhad o dud. 68.]

### ARAETH YR HENURIAD P. P. PRATT [PARHAD].

ATHRONIAETH ysbrydol yr oes bresennol a ddygwyd i sylw y byd gan Joseph Smith. A phobl yr Unol Daleithiau a'i rhoddasant ef i fyny i ferthyrdod, a'i ganlynwyr i dân a chleddyf, ac anrhaith, a charchariad, ac alltudiad i'r mynyddoedd a'r anialdiroedd pellenig hyn, yn unig o herwydd fod cyfrwng i ohebu â'r byd anweledig wedi ei gael allan, trwy ba un y gallai y byw glywed oddiwrth y meirw. Nid cynt y darfu i'r bobl a'r genedl, a fuont felly yn euog o waed gwirion, gwblhau alltudiad y Saint o'u mysg, nag y dechreuasant fabwysiadu rhai o'r un egwyddorion o athroniaeth ysbrydol, er mewn ystyr gwyrdroedig o'r gair.

Golygyddion, llywodraethwyr, athronwyr, offeiriaid, a chyfreithwyr, yn gystal â'r bobl gyffredin, a ddechreuasant bleidio yr egwyddor o ymddyddan â'r meirw, trwy weledigaethau, dewiniaeth, claerweliad, cyfryngau cnocio ac ysgrifenu, &c., &c. Yr athroniaeth ysbrydol hon o ymddyddan â'r meirw, unwaith ar ol ei sefydlu, trwy lafur, lludded, dyoddefiadau, a merthyrdod ei sylfaenwyr diweddar; ac yn awr wedi ei chof-

leidio gan ran fawr o'r byd dysgedig,—a ddengys oruchafiaeth mwy cyflym a chyflawn—buddugoliaeth mwy eang nag a gwblhawyd erioed yn yr un faint o amser yn ein byd.

Er ys chwarter canrif yn ol, darfu i fachgenyn anenwog ac ychydig o'i gyfeillion, yn niffeithdir gorllewinol New York, ddechreu ymddyddan â'r meirw. Yn bresennol, siaradir a phledir dros weledigaeth, dadguddiad newydd, claerweliad, cyfryngau, oraclau, &c., cyn belled ag y cyrhaedda dylanwad y wasg, neu alluoedd symudol yr agerdd.

Mae un pwynt o bwys wedi ei ennill, buddugoliaeth wedi ei chael, a thyrfa aneirif o alluoedd gwrthwynebol wedi eu gorchfygu, ar un o'r gwirioneddau blaenaf a sylfaenol o eiddo athroniaeth "Formonaidd," hyny yw—"Er i'r byw glywed oddiwrth y meirw."

Ond er y buddugoliaethau mawrion hyn o eiddo gwirionedd ar gyfeiliornad, anwybodaeth, a thraddodiad, mewn rhyw bwyntiau o athroniaeth ysbrydol, etto y mae llawer yn aros i'w wneuthur, cyn y teyrnasa gwirionedd dihalog yn fuddugoliaethus, ac y rhydd tywyllwch a chyfeiliornad i fyny eu hamddiffynfa olaf ar y ddaear.

Gan fod y ffaith o ohebiaethau ysbrydol wedi ei sefydlu, trwy ba rai y clywa y byw oddiwrth y meirw, ac nad yw mwyach yn gwestiwn o ddadl gan y rhai hyddysg, ni a adawn y pwynt hyny, ac a alwn sylw at y modd o wahaniaethu, neu farnu rhwng y cyfryngau cyfreithlawn neu anghyfreithlawn o ohebiaeth—rhwng y santaidd a'r anmhur, y gwirioneddau, a'r celwyddau, a drosglwyddir felly.

Mae geiriau y Prophwyd santaidd yn ein testun, tra y maent yn addef yr egwyddor o'r byw yn clywed oddiwrth y meirw, yn ceryddu personau ar gyhoedd, ac yn eu hargyhoeddi yn llymdost, am ymofyn â'r dewiniaid, y rhai sydd yn hustyng ac yn sibrwd, ac yn ein hadgoffa y dylai pobl ymofyn â'u Duw er i'r byw glywed oddiwrth y meirw!

Trwy ba foddion, ynte, y gall pobl ymofyn â'u Duw, am fendith mor bwysig â chlywed oddiwrth y meirw ?

A pha fodd y gwahaniaethwn rhwng y rhai a ymofynant ag Ef, a'r rhai a ymofynant am yr unrhyw trwy fodd anghyfreithlawn ?

Yn y lle cyntaf, nis gall neb ymofyn â Duw yn llwyddiannus

am y ragorfraint hon, oddieithr iddynt gredu mewn dadguddiad uniongyrchol mewn amseroedd diweddar.

Yn ail, mae yn anmhosibl i ni ymofyn ag Ef yn llwyddiannus, ac aros yn ein pechodau. Mae edifeirwch trwyadl ac adnewyddiad bywyd yn anhebgorol angheurheidiol, os ewyllysiwn ymofyn ag Ef.

Yn drydydd, Iesu Grist yw yr unig enw a roddwyd o dan y nefoedd, fel cyfrwng trwy yr hwn i nesâu at Dduw. Nis gall neb, ynte, fod yn gyfryngau cyfreithlawn, ag ydynt yn anghredinwyr yn Iesu Grist, neu mewn dadguddiad diweddar; neu sydd yn aros yn eu pechodau; neu sydd yn gweithredu yn eu henw eu hunain, yn lle yr enw appwyntiedig.

Ac yn mhellach, mae yr Arglwydd wedi penodi Offeiriadaeth santaidd ar y ddaear, ac yn y nefoedd, ac hefyd yn myd yr ysbrydoedd; yr hon Offeiriadaeth sydd yn ol urdd neu gyffelybiaeth ei Fab; ac y mae wedi cyflwyno i'r Offeiriadaeth hon allweddau dadguddiad santaidd a dwyfol, a gohebiaeth rhwng angylion, ysbrydion, a dynion, a rhwng holl ddosparthiadau, tywysogaethau, a galluoedd ei lywodraeth Ef yn yr holl fydoedd.

A thrachefn—Mae yr Arglwydd wedi ordeinio fod yr holl bethau mwyaf santaidd perthynol i iachawdwriaeth y meirw, a'r holl ymddyddan a'r ohebiaeth santeiddiaf â Duw, angylion, ac ysbrydion, i'w cael yn unig yn nghyssegr ei Deml santaidd ar y ddaear, pan fyddo wedi ei pharotoi i'r dyben hwnw gan ei Saint; a'u bod yn cael eu derbyn a'u gweinyddu gan y rhai a ordeiniwyd ac a seliwyd i'r awdurdod hwnw, i ddal allweddau oraclau santaidd Duw.

Am yr unrhyw egwyddor y tystiolaetha y Prophwydi Isaiah a Micah, gan ddywedyd, mai yn y dyddiau diweddaf y dylifa yr holl genedloedd i dŷ (neu Deml) yr Arglwydd, er cael eu dysgu yn ei ffyrdd, a rhodio yn ei lwybrau; canys y gyfraith a â allan o Seion, &c. Yn awr, mae yn amlwg y byddai pobl yr holl genedloedd yn y dyddiau diweddaf yn hollol analluog i ddysgu ffyrdd yr Arglwydd i berffeithrwydd, mewn unrhyw le arall heblaw mewn Teml santaidd wedi ei chyfodi yn mhlith y mynyddoedd. Canys pe byddai yr oraclau, a'r ordinhadau mwyaf santaidd, a'r allweddau neu y dirgeledigaethau, i'w cael mewn lle arall, neu yn mhob lle, ni chymmerai y bobl byth y

drafferth o fyned i un tŷ yn mysg y mynyddoedd er mwyn dysgu ei ffyrdd Ef, a rhodio yn ei lwybrau.

Y mae, ynte, yn fater o sicrwydd, yn ol y pethau a ddadguddiwyd i'r hen Brophwydi, ac a adnewyddwyd i ninnau, fod yr holl ymddangosiadau o faentyniad anifeilaidd, holl lewygon a gweledigaethau y sefyllfaoedd claerweliadol, yr holl ymddangosiadau o gnociadau ysbrydol, cyfryngau ysgrifenu, &c., yn deillio o ffynnonell anmhur, anghyfreithlawn, ac ansantaidd; a bod yr holl lestri santaidd ac etholedig ag sydd yn dal allweddau yr Offeiriadaeth yn y byd hwn, yn myd yr ysbrydoedd, neu yn myd y bodau adgyfodedig, yn sefyll mor bell oddiwrth yr holl gyfryngau anmhriodol ac ansantaidd o ohebiaeth ysbrydol, ag yw y nefoedd yn uwch nâ'r ddaear, neu ag yw dirgeledigaethau y drydedd nef, y rhai ydynt yn anghyfreithlawn i'w traethu, yn gwahaniaethu oddiwrth ffiloreg anwybodaeth a ffolineb sectaraidd, neu ddewiniaeth ysbrydion drwg, a brudwyr gwrthodedig, swyngyfareddwyr, hudolwyr, a thynghed-ddarllenwyr.

Chwi Saint y Dyddiau Diweddaf! chwi filoedd o luoedd Israel! Yr ydych yn ymgynnulledig yma y dydd heddyw, ac wedi gosod y Conglfeini hyn, i'r unig ddyben fel y byddo i'r byw glywed oddiwrth y meirw, ac fel y gallom barotoi cyssegr santaidd, lle "gallo y bobl ymofyn â'u Duw, ac er i'r byw glywed oddiwrth y meirw," ac fel y gallo y nef a'r ddaear, a byd yr ysbrydoedd, ymddyddan ynghyd—fel y gallo y breninoedd, y pendefigion, y llywyddion, y llywodraethwyr, barnwyr, offeiriaid, cynghorwyr, a'r deddfwyr, y rhai a gyfansoddant gynnulleidfa gyffredinol Eglwys y cyntaf-anedig yn yr holl swydd-gylchoedd hyn o fodoldeb tymmorol ac ysbrydol, eistedd mewn Cynghor mawr, a chynnal Congress neu lys ar y ddaear, i gyd-drefnu mesurau er dadymchwelyd "dirgelwch anwiredd," gorseddau gormeswyr, cyssegrfeydd crefydd-dwyll a thraddodiad, a theyrnasiad anwybodaeth, pechod, a marwolaeth.

Saint! y buddugoliaethau hyn a ennillir, ac Iesu Grist a'i Saint a ddarostyngant bob galluoedd gwrthwynebol, ac a gyrhaeddant amherodraeth gyffredinol yn y nef ac ar y ddaear, cyn sicred ag y tywalltwyd gwaed gwirion erioed ar Fynydd Calfaria, neu y torwyd y sêl swyddol ar ddôr beddrod Mab Duw. Mae gwaith y dydd hwn, o osod y Conglfeini hyn i

Deml, yn mhlith y mynyddoedd, yn un cam yn mlaen tuag at y parotoadau anghenrheidiol erbyn y chwildroadau nerthol hyn.

Bydded i Seion orphen y Deml hon, bydded iddi gael ei chyflwyno, a'i derbyn gan yr Hollalluog, bydded iddi gael ei chadw mewn santeiddrwydd yn ol cyfreithiau yr Offeiriadaeth santaidd, ac ni fydd anghen gwr ar Seion i sefyll gerbron yr Arglwydd, a derbyn yr oraclau, a gweinyddu yn ei gyssegr santaidd, a rhoddi allweddau ei lywodraeth ar y ddaear,

Tra t'wyno haul, neu loer, neu sêr,
Neu tra bo t'wysogaethau'n bod.

Os cyflawna y Saint y pethau hyn, ac heb fethu cadw gorchymynion Iesu Grist, a chynghorion ei weision, ni lwydda teyrnasoedd y byd byth yn eu herbyn o'r pryd hwn allan ac yn dragywydd.

Eithr cofiwch, O chwi Saint y Goruchaf! cofiwch fod y gelyn ar ei wyliadwriaeth. Ni wna yr hen sarff hono a'i hangylion, y rhai a lywodraethasant y byd isaf hwn gydag ychydig o eithriadau, dros gymmaint o oesau, oddef, yn ddof, ac heb un ymdrech, i'r deyrnas, ac eisteddle y llywodraeth, a chyssegr ein Duw, gael eu cyfodi drachefn ar ein planed, heb gael eu tynu i lawr na'u gorchfygu mwyach, hyd nes y byddo i bob llathen ysgwâr o'r lywodraeth fawr gael ei hail-goncwero gan ei pherchenogion cyfreithlawn. Na wna! O'r fynyd y torwyd y tir at y Deml hon, mae y rhai a gynhyrfwyd ganddo ef (Satan) wedi dechreu cynddeiriogi; ac efe a barha i gyffroi ei weision i ddigofaint yn erbyn yr hyn sydd dda; eithr os byddwn ni ffyddlawn, y fuddugoliaeth sydd eiddom ni, yn enw Iesu Grist. Amen.

### GWEDDI GAN YR HENURIAD HYDE.

Dad Hollalluog, yr hwn a breswyli yn y nefoedd, ac a eisteddi ar orsedd dy ogoniant a'th allu, erfyniwn arnat i edrych arnom, gyda mawr drugaredd, o'th lysoedd nefol, a gwrandaw ar ein gweddiau y rhai a offrymwn i ti y dydd hwn, yn enw Iesu Grist, dy Fab. Er dy fod di yn ddyrchafedig mewn temlau nid o waith llaw, yn nghanol y gwaredigion a'r santeiddiedig, etto ymddarostwng i'n cyfarfod ni yn ein sefyllfa isel, ac megys y gosodasom, cynnorthwya ni i gyflwyno i ti, y

Conglfaen hwn o eiddo Teml ddaearol Seion, fel y gorfoleddo dy feibion a'th ferched i gyfarfod â'u Harglwydd yn ei chynteddau.

Diolchau tragywyddol ydynt ddyledus i ti, O Dduw ein hiachawdwriaeth, am dy aml fendithion a'th drugareddau y rhai a estynaist i ni: canys er pan ein gorfodwyd i ffoi i dyffrynoedd ac ogofeydd y mynyddoedd, ac ymguddio yn dy ystafelloedd dirgel, oddiwrth wyneb y sarff, neu ddraig erlidigaeth, yn goch gan waed y Saint a merthyron yr Iesu, ti a beraist i'r holl wlad ffrwythloni, a'r anialwch a'r diffeithdir i orfoleddu a blaguro fel y rhosyn. Hysbys i ti yw hanes ein gyrfa. Ein teilyngdod a'n hannheilyngdod a fuont yn agored i'th olwg, a'n doethineb a'n ffolineb ni fuont guddiedig oddiwrth dy lygaid. Yr wyt wedi amgyffred ein nerth a'n gwendid, ein llawenydd a'n gofidiau, ac hefyd ein dyoddefiadau a'n herlidigaethau er mwyn dy enw, ynghyd â merthyrdod dy weision.

Cofia ni, O Arglwydd, a bydded i lewyrch dy ffafr, fel enfys heddwch, amgylchynu dy bobl tra yr ymdeithiwn yma, ac yr aroswn yn denantiaid, wrth ewyllys, yn y cyrff brau hyn, sef trigfanau ein hysbrydoedd. A chofia hefyd am ein gelynion, y rhai, trwy eiddigedd creulawn, a bwriad maleisus, a'n gorfodasant i chwilio cartref-leoedd yn y parthau pellenig hyn, ac yn y bedd mwy unig, neu grwydro fel dyeithriaid a phererinion ar y ddaear, heb ddinas barhaus neu orphwysfa. Gwobrwya hwy yn ol eu gweithredoedd, a bydded iddynt fwyta o ffrwyth eu gweithrediadau eu hunain, yn gymmaint ag na edifarhant.

Deuddeg Apostol y *Dyddiau Diweddaf*, i ba rai y rhoddwyd y gwaith pleserus o osod Conglfaen gogledd-ddwyreiniol y Deml hon, sef y Conglfaen olaf o'r adeilad, ydynt yma yn gynnulledig er cyflawni eu dyledswydd ger dy fron, yn nghanol awdurdodau dy Eglwys, a'r miloedd ymgynnulledig ag ydynt wedi dyfod i weled seremoniau rhwysgfawr yr achlysur hwn.

Erfyniwn, gan hyny, dy fendithion ar ein penau, ar y dydd dymunol hwn, tra mae haul y nefoedd, ar ei ymweliad blynyddol â'i diriogaethau gogleddol, yn cyfnewid hyd y nod galon natur, ac yn goleuo ei gwyneb â gweniadau groesawiad. Eira y mynyddoedd tragywyddol a wneir i ymollwng ar ei ddynesiad, ac i ddylifo i waered yn ffrydiau grisialaidd o ddyf-

roedd bywiol, gan daenu bywyd a gwyrddlasni dros yr holl wastadedd.

O'r awr hono ag y torwyd y tir er parotoi at y sylfaen hon, mae Satan wedi bod yn fwy diwyd yn cynhyrfu calonau ei blant i gasâu gweision a phobl ein Duw. Eithr, O Arglwydd, y gwaith sydd eiddot ti, a'th fraich sydd alluog i'w wneuthur a'i amddiffyn.

Yr ydym yn awr, yn enw Iesu Grist, ein Harchoffeiriad mawr a'n Deddfroddwr, yn cyflwyno ac yn cyssegru y Conglfaen hwn i ti, gan ofyn y bydd i'r muriau a adeiladir ar y sylfaen hon gyfodi yn raddol, trwy ddiwydrwydd dyfal-barhaus dy bobl, dan dy ofal rhagluniaethol a'th fendithion di, a braich amddiffynol ac amgeleddgar Angel dy bresennoldeb.

Pwy bynag, O Arglwydd, a fendithia ac a gynnorthwya adeiladiad y Deml hon, â'u ffydd, eu hewyllys da, a'u heiddo—â'u harian a'u haur, â'u llafur a'u lludded, â'u ceffylau, eu da, eu defaid, a'u ŷd, neu ag un neu yr oll o'u cynnyrchion, anghenrheidiau, neu lesolion—bydded iddynt gyfodi mewn cyfoeth a dylanwad, ac yn ymddiried a ffafr Duw a'i weision; a bydded i fendithion y Deml hon gael eu hestyn iddynt, pa un bynag a fyddont ai Iuddewon neu Genedloedd, caeth neu rydd, gwrryw neu fenyw. A phwy bynag a gynnygio rhwystro, gwrthwynebu, neu attal adeiladiad yr adeilad hwn, neu a gasâo neu a ddifenwo yr unrhyw, neu a wnelo, mewn rhyw ddull neu fodd, yn wybodus, gwirfoddol, neu fwriadol, ddinystrio, niweidio, anafu, neu anffurfio unrhyw ran neu gyfran o'r gwaith, bydded y cyfryw nid yn unig yn ddiallu, yn wisgedig â chywilydd, gwarth, a chondemniad, eithr boed iddynt dderbyn yr un fath driniaeth ar eu personau eu hunain, yn ystod gyrfa dy ragluniaethau, ag a ddichon iddynt amlygu neu ddymuno amlygu tuag at yr adeilad hwn.

Brysia di yr amser, O Arglwydd, pan dderbynia dy Dŷ hwn, yn nghanol y mynyddoedd, y capfaen gyda bonllefau o lawenydd, ac y gorphener ef, ac y dylifo cenedloedd iddo—pan y dyweda pobloedd lawer, "Deuwch, ac esgynwn fynydd yr Arglwydd, i dŷ Duw Jacob; ac efe a'n dysg ni yn ei ffyrdd, a ni a rodiwn yn ei lwybrau ef; canys y gyfraith a â allan o Seion," gan ddynoethi pob ysbryd gau a thwyllodrus, pob egwyddor wirioneddol, ac hefyd y cyfeiliornadau ag sydd wedi diluwio y

cenedloedd mewn terfysgoedd ac amrafaelion, mewn amryson, mewn tywyllwch, ac mewn pechod; a gwna hyny symud llèn y gorchudd ag sydd wedi ei thaflu dros yr holl bobloedd, a'r Cenedloedd a ddeuant at oleuni Seion, a breninoedd at ddysclaerdeb ei chyfodiad. Cyflyma yr awr, O Dad tragywyddol, pan brofo y ddealltwriaeth a'r wybodaeth a gafodd dy weision, ar y man cyssegredig hwn, yn oleuni gwyldwr i'r cenedloedd ag ydynt yn morio ar fôr amser, ar ddiwrnod tywyll a chymylog.

O Dduw ein tadau, Abraham, Isaac, a Jacob, gweddiwn ar i ti oruwch-lywodraethu pob gweithrediad a symudiad o eiddo awdurdod y byd, er hwylusu llesoldeb teyrnas y Gwaredwr, a pharotoi y ffordd i'w deyrnasiad buddugoliaethus ar y ddaear. Bendithia bob llywodraethwr calon-onest yn llywodraethau a theyrnasoedd dynion; ac er y gallant fod yn anwybobus o'th fwriadau a'th ddybenion, etto gwna hwynt yn oruchwylwyr i ddwyn oddiamgylch y bwriadau a ffurfiwyd yn dy fynwes, ac a arfaethwyd yn dy galon.

Dad santaidd, gweddiwn ar i ti fendithio Llywyddiaeth dy Eglwys hon, ac estyn eu dyddiau, fel yr hir-fwynhaom ni eu cynghorion, ac y llesolom ein hunain trwy eu doethineb. Cofia am y Deuddeg Apostol hefyd, gyda Llywyddion y Degau-a-thrugain, y rhai a alwant yn awr ar dy enw â'u lleferydd. Na foed i neb o honom byth syrthio trwy drosedd, neu ddwyn gwarth ar dy achos, neu ystaen ar ein cymmeriad ni. Eithr cadw ni yn dy ofn, yn ngoleuni y gwirionedd, yn ffafr ein Duw, yn ymddiried ein gilydd, yn nghyfrif ein blaenoriaid, ac yn ffafr y cyfiawn.

Gan ein bod wedi gosod a chyflwyno y Conglfaen hwn, gyda'n dymuniadau goreu, ein gobeithion mwyaf cariadlawn, a'n ffydd ddiysgog ar i'r adeilad gael ei gyfodi yn fuan a'i orphen, gofynwn ar i ni gael dyfod yn golofnau yn dy Deml ysbrydol, ac heb fyned allan mwyach, eithr i gynnal a dal i fyny, mewn cyssylltiad â'r holl ffyddloniaid, y goruwch-adeilad mawr a gyfodwyd gan anfeidrol ddoethineb, gallu, a daioni, yn yr hwn i gasglu, yn dy amser da dy hun, bob mab a merch i hil syrthiedig Adda. Ac i Dduw a'r Oen y priodoler tragywyddol anrhydedd, mawl, llywodraeth, a gogoniant, yn awr ac yn oes oesoedd. Amen.

Am ddeg mynyd ar hugain wedi un, canodd y côr, "Proclaim to all people we've laid the foundation."

CAN.

Proclaim to all people we've laid the foundation
Of a Temple, to which the redeemed shall go;
Each tribe, tongue, and nation, throughout the creation,
With songs of rejoicing unto it shall flow.

*Chorus.*

Shout hallelujah, through earth, air, and sea,
Let angels assist us in our jubilee:
Jehovah has spoken, our fetters are broken,
Our bondage is ended, and Zion is free!

Who, who would have thought, through the vista of ages,
The latter day glory the Prophets should see?
But, inspir'd by Jehovah, those reverend sages
Gaz'd full on our blessings, and sung of the free.
Shout hallelujah, &c.

On the tops of the mountains, we'll drink of truth's fountains,
That flow from the heavens, both plenteous and free;
The standard erected, by Prophets predicted,
The nations shall gather God's glory to see.
Shout hallelujah, &c.

Yna y Llywydd YOUNG a esgynodd y Conglfaen gogledd-ddwyreiniol, ac a roddodd ei fendith fel y canlyn:—Frodyr a chwiorydd, yr wyf yn eich bendithio yn enw Iesu Grist o Nazareth, ac yn gweddio ar fy Nhad yn y nef i'ch amgylchynu yn mreichiau ei gariad a'i drugaredd, a'n hamddiffyn hyd nes y gorphenom y Deml hon, y derbyniom y cyflawnder o'n cynnysgaethiadau ynddi, ac yr adeiladom lawer yn ychwaneg. Ac yr wyf yn gweddio hefyd, ar i ni gael byw i weled y Deml fawr yn swydd Jackson, Missouri. Gollyngir chwi yn awr â bendithion yr Arglwydd Iesu Grist ar eich penau. Amen.

Yna yr orymdaith a ddychwelodd i'r Tabernacl, ac a ollyngwyd gan y Llywydd Young, hyd ddau yn y prydnawn.

*(I'w barhau.)*

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 31.]

PROFWYD yn gyflawn, mai dyben priodas yw lliosogi y rhywiogaethau dynol, a'u haddysgu yn mhob egwyddor cyfiawnder, gael iddynt ddyfod fel Duw, a bod yn un gydag Ef, ac etifeddu holl gyflawnder ei ogoniant. Gan mai hyn yw gwirioneddol ddyben priodas, mae gofyniad yn cyfodi yn naturiol, A oes gan y drygionus yr unrhyw hawl i fendithion olafiaid lliosog, o dan y sefydliad dwyfol hwn, ag y sydd gan y cyfiawn? Atebwn, nad oes ganddynt. Ac yn awr, cawn fyned yn mlaen i ddangos o'r Ysgrythyrau, ddarfod i'r Arglwydd wneuthur gwahaniaeth mawr mewn perthynas i'r peth hwn, rhwng y drygionus a'r cyfiawn.

*Yn gyntaf*, Nid oes siampl i'r drygionus gael ei briodi erioed trwy ddwyfol awdurdod. Yn mha le y ceir un enghraifft o'r fath hyn? Mae genym gyflawnder o enghreifftiau lle bu i'r rhai drygionus gael eu priodi; ond a oedd y priodasau hyn trwy ddwyfol osodiad? A gyssylltwyd hwynt ynghyd gan Dduw? A gafodd y gweinidogion a weinyddasant eu cyfarwyddo trwy ddadguddiad i'w cyssylltu ynghyd megys un cnawd? Nid oes genym enghraifft o'r fath yn yr oraclau dwyfol. Mae yn wir fod yr Ysgrythyrau yn goddef y fath arferiad yr un modd ag y goddefodd Duw briodasau anghyfreithlawn yn ystod y ddwy ganrif ar bymtheg diweddaf, a'r un modd ag y goddefodd Ef y gyfraith ysgaru yn mysg yr Israeliaid, o herwydd caledwch eu calonau. Efe a oddefodd y rhai drygionus i briodi, yn unol â chyfreithiau dynol ac awdurdod ddynol, mewn trefn na byddai i ddynolryw ddyfod yn ddarfodedig, yr un fath ag y goddefodd Ef i blant Jacob werthu eu brawd ieuengaf i'r Ismaeliaid, mewn trefn na ddarfyddent trwy y newyn. Mae llawer o bethau a ganiatêir gan Dduw, o herwydd caledwch calonau dynolryw, y condemnir hwy o'u plegid yn nydd y farn. Condemniwyd brodyr Joseph am eu gweithredoedd, ond parodd Duw i ddaioni ddeillio oddiwrthynt; modd bynag, ni bu i hyn eu cadw hwynt oddiwrth eu heuogrwydd. Felly y mae yn herwydd y rhai a feiddiasant briodi heb awdurdod ddwyfol, para Duw i ddaioni ddeillio oddiwrth y cyfryw yn nghadwraeth y rhywiogaethau dynol ar

y ddaear: eithr cenedlaethau y drygionus, y rhai fel hyn a dreisiasant y dwyfol sefydliad, a fwrir i uffern, ac a gollant y bendithion a'r breintiau a berthynant i'r rhai cyfiawn a briodasant trwy awdurdod ddwyfol. Gan hyny, y ffaith nad ydyw Duw yn cyssylltu y rhai drygionus mewn priodas, sy dystiolaeth nad oes ganddynt hwy yr unrhyw freintiau â'r rhai cyfiawn, yn y santaidd ordinhad briodasol hon.

*Yn ail*, paham nad ydyw Duw yn cymmeradwyo priodasau y rhai drygionus yn gyfartal gyda y rhai cyfiawn? O herwydd eu bod, trwy eu drygioni, nid yn unig yn tynu damnedigaeth arnynt eu hunain, ond ar eu plant hefyd. Y plant yn gweled arferion drwg eu rhieni ydynt dra thebygol o ddilyn eu camrau drygionus. Ni a welwn hyn yn cael ei gyflawn amlygu, nid yn unig mewn teuluoedd drygionus, ond yn mhlith cenedloedd drygionus. Yr oedd y cenedloedd a breswylient wlad Caanan gynt yn annheilwng o'r ordinhad briodasol neu o hiliogaeth, oblegid eu plant, yn canfod siamplau drwg eu rhieni, a aethant yn waeth-waeth, hyd nes y daeth eu camwedd yn llawn, pan y bu i'r Arglwydd, mewn trefn i roddi attalfa ar eu priodasau anghyfreithlawn ac ar liosogiad gweithredwyr drygionus, gael ei orfodi i ddystrywio gwyr, a gwragedd, a phlant, hyd i nifer llawer o filoedd. Gwrandawer yr hyn a lefarodd yr Arglwydd wrth feibion Israel o'u plegid, "Ond o ddinasoedd y bobloedd hyn, y rhai y mae yr Arglwydd dy Dduw yn eu rhoddi i ti yn etifeddiaeth, na chadw un enaid yn fyw: ond gan ddifrodi difroda hwynt; sef yr Hethiaid, a'r Amoriaid, Caananeaid, a'r Phereziaid, a'r Hefiaid, a'r Jebusiaid; megys y gorchymynodd yr Arglwydd dy Dduw i ti: fel na ddysgont i chwi wneuthur yn ol eu ffieidd-dra hwynt, y rhai wnaethant i'w duwiau; a phechu o honoch yn erbyn yr Arglwydd eich Duw." —(Deut. xx, 16, 17, 18.) Pan ddaeth Abram gyntaf i'r tir hwnw, dywedodd yr Arglwydd wrtho nad oedd eu hanwiredd "wedi ei gyflawni etto."—(Gen. xv.) Eithr rhyw bedair neu bum canrif wedi hyn, daeth y plant, drwy arferion llygredig eu tadau, yn gyflawn addfed mewn pechod, ac a lanwasant i fyny fesur eu cwpan. Ac i rwystro i'r ddaear gael ei gorlenwi â'r eppil drygionus hyn, a llygru Israel gyda eu harferion ffiaidd, yr oedd yn anghenrheidiol llwyr ddinystrio pob enaid a anadlai. Yn lle i'r Arglwydd ystyried y cenedloedd hyn yn addas i

briodi, nid ystyriodd efe hwynt yn deilwng o fyw, na'u plant chwaith; gan hyny efe a'u dystrywiodd hwynt, ac a roddodd eu tir i'w bobl, ac a addawodd iddynt ar yr ammodau o gyfiawnder, y byddai iddo fendithio eu tir yn ddirfawr, a chynnyddu eu deadellau a'u praidd, eu golud a'u cyfoeth. Dywedodd Moses wrthynt, "A'r Arglwydd a'th lwydda mewn daioni, *yn ffrwyth dy fru*, ac yn ffrwyth dy anifeiliaid, ac yn ffrwyth dy ddaear, yn y tir a dyngodd yr Arglwydd i'th dadau ar ei roddi i ti."—(Deut. xxviii, ii.)

Israel, gan hyny, o herwydd cyfiawnder, a ystyriwyd yn deilwng o'u bendithio gyda chynnydd plant, a'u lliosogi yn ddirfawr, a'u dyfod fel tywod ar làn y môr yn aneirif; ond ystyrid hwy yn deilwng o'r fendith hon yn unig ar ammodau o gyfiawnder; oblegid os troent ymaith oddiwrth yr Arglwydd, ni byddai iddynt fod ddim cymhwysach i achub eu plant nâ chenedloedd ereill. Dywedodd Moses, os gadawent hwy gyfiawnder, yr ymwelid â hwythau gyda phob math o bläau a melldith; ac yn mhlith trallodion ereill efe a ddywed, "Chwi a adewir yn ychydig bobl, lle yr oeddech fel sêr y nefoedd o liosogrwydd." "A bydd, megys ag y llawenychodd yr Arglwydd ynoch i wneuthur daioni i chwi, *ac i'ch amlhau*; felly y llawenycha yr Arglwydd ynoch i'ch dinystrio a'ch dyfetha chwi."—(Deut. xxviii, 62, 63.) Yma, ynte, y gwelwn, ei fod yn achos llawenychu gyda'r Arglwydd i liosogi y rhai cyfiawn, ac i leihau y rhai drygionus. Gan hyny, lliosogiad a fwriadwyd yn wreiddiol i'r cyfiawnion; eithr y rhai drygionus a ryfygasant i gymmeryd y fendith hon iddynt eu hunain, ac a fuont felly yn offerynau mewn dwyn cannoedd o filiynau i'r byd, y rhai y mae Duw yn rhwym, o amser i amser, i'w tori ymaith a'u gyru i uffern, fel na ddyger y byd oll o dan eu harglwyddiaeth, ac i'r felldith draflyncu yr holl ddaear megys yn nyddiau Noah.

*(I'w barhau.)* *Cyf.* R. Ddu.

---

## GWEITHIAU GLO A HAIARN DESERET.

Tyr'd, Awen, a brysia i'th gampwaith cywreindeg—
Er groesaw'th ddyfodiad, diosgaf fy het;
Rho gymhorth yn awr i ddyrchafu arwyrain
O glod i Waith Haiarn a Glo Deseret:

Wrth rwygo mynyddau, a threiddio i ddyfnderau,
  Fe gafwyd trysorau fu oesau yn nghudd,
Sef glo a mŵn haiarn o fewn ein Tiriogaeth,
  Wna i ni'r Deseretiaid ryfeddol fawr fudd.

Ni raid ymddibynu am haiarn estronol
  I wneyd erydr ac ogau at driniaeth ein tir;
Ceir nwyddau rhagorol o Weithfa yr Haiarn,
  I lenwi efelau ein gofaint cyn hir;
Amaethwyr a chrefftwyr gânt bob math o arfau,
  A fo'n angheuraheidiol er gwneuthur eu gwaith;
Ein meirch a bedolir ag haiarn cartrefol,
  Fel byddont barodol, weis dethol, i'r daith.

Crochanau, ystôfau, pob llestri cogyddio,
  I'r gwragedd a'r merched a gawn idd ein tai,
O'r gwerthfawr ddefnyddiau rhagorol gyfodir
  Yn awr o fŵn-glawdd Deseret yn ddilai;
A phob math o hoelion at gydio celfyddwaith,
  Mewn teiau a themlau, a geir yn ddi-wâd,
O waith yr hoelionydd, o'r haiarn a goethir
  Yn awr yn ffwrnesi cartrefol ein gwlad.

Cawn gledrffyrdd haiarn o ddinas i ddinas—
  Ar hyd-ddynt fel mellt y carlama'r meirch tân,
Pa rai yn gyssonawl fydd at ein gwasanaeth,
  Er cludo masgnachaeth yn ol ac yn mla'n;
O Deseret rhedant i làn Colorado,
  Er cludo ein brodyr a'n chwiorydd i'n mysg;
Ar garlam y deuant i fyny i dir Seion,
  Ar gledrffordd, i dderbyn y ddwyfol wir ddysg.

Fe dderfydd yr wban, a'r tuchan, a'r ochain,
  A'r cwyno aflawen am danwydd sy'n bod,
A'r gorthrwm trafferthus ar ddyn ac anifel,
  Wrth yru o *ganion* i *ganion* am goed:
Merch Seion, bydd lawen ac ymgalonoga,
  Wrth wel'd dy Waith Haiarn a Glo 'n myn'd rhag blaen;
Dy galch-faen a losgir er codi dy demlau,
  A glo, yn lle manwydd, fydd defnydd dy dân.

Rhwydd hynt it', Waith Haiarn a Glo Deseretia,
  Duw'r nefoedd a lwyddo dy gamrau o hyd;
Doed gwythien at wythien o'th drysor i'r golwg,
  Nes byddo it' faeddu gweithfeydd yr holl fyd:
Pwy ŵyr nad o honot ceir defnydd eirf rhyfel,
  Er gosod plant Duw o'u caethiwed yn rhydd,
Gan ddial gwaed saint a phrophwydi'r Goruchaf:
  Prysured, O gwawried, a deued y dydd.

MEISWN Y FORGE,
*Sef Wm. Lewis (Gwilym Ddu).*

# MYNEGIAD CYFRIFIADOL

## O EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG,

*Am yr Hanner blwyddyn yn terfynu Meh. 30, 1853.*

| Cynnadleddau. | Cang. | D. | A. | Hen. | Off. | Ath. | Di. | Tor | Mar. | Ymf. | Bed. | Oll. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1 Manchester...... | 36 | 1 | 1 | 185 | 173 | 127 | 57 | 46 | 19 | 175 | 155 | 3166 |
| 2 Llundain ........ | 40 | 1 | 1 | 186 | 130 | 104 | 60 | 135 | 13 | 161 | 280 | 2420 |
| 3 Birmingham .... | 20 | 3 | 0 | 129 | 147 | 86 | 64 | 103 | 16 | 103 | 166 | 1827 |
| 4 Norwich ........ | 26 | 1 | 0 | 57 | 73 | 47 | 28 | 49 | 5 | 95 | 160 | 1059 |
| 5 Liverpool ...... | 11 | 2 | 0 | 56 | 60 | 41 | 21 | 27 | 8 | 85 | 65 | 1005 |
| 6 Nottinghamshire | 17 | 1 | 0 | 66 | 62 | 50 | 27 | 72 | 13 | 32 | 93 | 930 |
| 7 Sheffield ........ | 19 | 1 | 1 | 61 | 54 | 33 | 20 | 113 | 6 | 17 | 74 | 888 |
| 8 Bradford ........ | 22 | 0 | 0 | 72 | 58 | 39 | 16 | 43 | 0 | 34 | 120 | 846 |
| 9 Cheltenham...... | 23 | 2 | 0 | 73 | 43 | 36 | 25 | 34 | 9 | 19 | 45 | 809 |
| 10 Preston.......... | 14 | 1 | 0 | 62 | 47 | 40 | 13 | 15 | 10 | 14 | 27 | 696 |
| 11 Herefordshire .... | 25 | 1 | 0 | 63 | 46 | 34 | 17 | 27 | 10 | 114 | 41 | 680 |
| 12 Warwickshire .... | 28 | 1 | 0 | 68 | 42 | 35 | 18 | 19 | 2 | 21 | 31 | 670 |
| 13 South.............. | 16 | 2 | 0 | 35 | 41 | 27 | 24 | 18 | 14 | 33 | 50 | 655 |
| 14 Bedfordshire .... | 19 | 2 | 0 | 38 | 48 | 19 | 20 | 41 | 7 | 42 | 73 | 648 |
| 15 Newcastle-on-Tyne | 16 | 3 | 0 | 63 | 40 | 32 | 20 | 43 | 17 | 33 | 109 | 627 |
| 16 Kent .............. | 22 | 0 | 0 | 46 | 37 | 32 | 16 | 44 | 3 | 39 | 72 | 602 |
| 17 Southampton .... | 20 | 2 | 0 | 28 | 37 | 23 | 8 | 48 | 3 | 60 | 99 | 581 |
| 18 Worcestershire .. | 15 | 0 | 0 | 36 | 22 | 17 | 13 | 61 | 11 | 48 | 58 | 562 |
| 19 Reading ........ | 18 | 1 | 0 | 53 | 28 | 28 | 19 | 14 | 2 | 30 | 42 | 540 |
| 20 Staffordshire .... | 13 | 1 | 1 | 66 | 46 | 21 | 20 | 35 | 6 | 15 | 30 | 475 |
| 21 Wiltshire ........ | 14 | 2 | 0 | 33 | 34 | 20 | 22 | 31 | 9 | 26 | 40 | 463 |
| 22 Lincolnshire .... | 19 | 1 | 0 | 35 | 34 | 20 | 7 | 48 | 4 | 36 | 55 | 405 |
| 23 Derbyshire ...... | 13 | 0 | 0 | 33 | 30 | 20 | 10 | 32 | 6 | 11 | 22 | 405 |
| 24 Leicestershire.... | 11 | 2 | 0 | 25 | 22 | 17 | 13 | 28 | 1 | 32 | 33 | 396 |
| 25 Essex............ | 15 | 0 | 0 | 28 | 21 | 17 | 13 | 32 | 1 | 16 | 60 | 326 |
| 26 Hull ............ | 7 | 0 | 0 | 21 | 17 | 13 | 3 | 6 | 3 | 17 | 22 | 292 |
| 27 Cambridgeshire .. | 10 | 1 | 1 | 15 | 27 | 12 | 6 | 11 | 2 | 37 | 27 | 291 |
| 28 Dorsetshire...... | 7 | 0 | 0 | 14 | 10 | 12 | 12 | 16 | 1 | 0 | 24 | 261 |
| 29 Land's End ...... | 6 | 0 | 0 | 17 | 12 | 13 | 6 | 13 | 2 | 12 | 26 | 230 |
| 30 Shropshire ...... | 8 | 1 | 0 | 20 | 11 | 9 | 6 | 6 | 3 | 12 | 42 | 223 |
| 31 Carlisle.......... | 4 | 1 | 0 | 13 | 7 | 7 | 3 | 5 | 1 | 0 | 7 | 161 |
| 32 Morganwg Ddwyr. | 31 | 0 | 3 | 240 | 105 | 99 | 74 | 297 | 28 | 86 | 95 | 1841 |
| 33 Sir Fynwy ...... | 19 | 0 | 0 | 84 | 23 | 30 | 27 | 26 | 8 | 19 | 26 | 583 |
| 34 Morganwg Orllew. | 19 | 0 | 0 | 68 | 35 | 30 | 21 | 10 | 3 | 20 | 44 | 497 |
| 35 Llanelli.......... | 9 | 0 | 0 | 60 | 9 | 19 | 12 | 7 | 5 | 19 | 6 | 346 |
| 36 Deau Penfro .... | 13 | 0 | 1 | 38 | 9 | 6 | 6 | 6 | 1 | 8 | 41 | 214 |
| 37 Sir Frycheiniog.. | 10 | 0 | 0 | 34 | 13 | 7 | 10 | 11 | 0 | 2 | 2 | 170 |
| 38 Sir Gaerfyrddin.. | 8 | 0 | 1 | 26 | 10 | 5 | 7 | 3 | 2 | 6 | 15 | 170 |
| 39 Sir Ddinbych .... | 5 | 0 | 0 | 15 | 6 | 5 | 3 | 9 | 1 | 12 | 8 | 118 |
| 40 Sir Fflint........ | 4 | 0 | 0 | 20 | 4 | 4 | 2 | 7 | 0 | 2 | 7 | 117 |
| 41 Sir Aberteifi .... | 6 | 0 | 0 | 14 | 7 | 3 | 2 | 5 | 0 | 0 | 8 | 114 |
| 42 Sir Feirionydd .. | 5 | 0 | 0 | 14 | 2 | 1 | 1 | 0 | 0 | 0 | 4 | 65 |
| 43 Gogledd Penfro.. | 5 | 0 | 0 | 14 | 3 | 3 | 1 | 2 | 0 | 0 | 9 | 55 |
| 44 Sir Fôn.......... | 5 | 0 | 0 | 10 | 5 | 1 | 1 | 4 | 0 | 0 | 5 | 54 |
| 45 Dyffryn Conwy .. | 3 | 0 | 0 | 11 | 5 | 4 | 3 | 1 | 0 | 1 | 5 | 53 |
| 46 Glasgow ........ | 19 | 2 | 0 | 103 | 78 | 101 | 25 | 87 | 12 | 73 | 49 | 1634 |
| 47 Edinburgh ...... | 19 | 0 | 0 | 56 | 44 | 35 | 14 | 37 | 8 | 45 | 64 | 723 |
| 48 Dundee ........ | 7 | 1 | 0 | 21 | 13 | 10 | 6 | 18 | 1 | 11 | 28 | 323 |
| 49 Kilmarnock .... | 8 | 1 | 0 | 28 | 13 | 17 | 9 | 22 | 3 | 11 | 19 | 263 |
| 50 Belfast .......... | 3 | 1 | 0 | 7 | 4 | 2 | 1 | 0 | 0 | 19 | 8 | 70 |
| 51 Dublin (Cangen) | 1 | 0 | 0 | 5 | 1 | 1 | 1 | 0 | 0 | 2 | 3 | 36 |
| 52 Londonderry (etto) | 1 | 1 | 0 | 2 | 3 | 0 | 0 | 5 | 0 | 1 | 5 | 23 |
| 53 Isle of Man...... | 3 | 0 | 0 | 11 | 3 | 2 | 1 | 3 | 0 | 16 | 2 | 82 |
| Cyfanswm.... | 737 | 40 | 10 | 2578 | 1854 | 1416 | 834 | 1776 | 274 | 1722 | 2601 | 30690 |

## LLYWYDDIAETH YR EGLWYS YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG.

LLYWYDD.

Samuel W. Richards.

CYNGHORWYR.

Daniel Spencer, John Van Cott.

## LLYWYDDIAETH YR EGLWYS YN NGHYMRU.

LLYWYDD.

William S. Phillips.

CYNGHORWYR.

John Davis, Dan Jones.

## LLYWYDDION ADRANAU.

| LLYWYDD. | ADRAN. |
|---|---|
| John Van Cott, | Cynnadleddau Birmingham, Worcestershire, Cheltenham, ac Herefordshire |
| Benjamin Brown, | Cynnadleddau Llundain, Reading, Kent, ac Essex. |
| John S. Fullmer, | Cynnadleddau Manchester, Liverpool, a Preston. |
| Dorr P. Curtis, | Cynnadleddau South, Wiltshire, a Land's End. |
| Edward Bunker, | Cynnadleddau Sheffield, Lincolnshire, a Bradford, |
| Richard Cook, | Cynnadleddau Warwickshire, Bedfordshire, Cambridgeshire, a Norwich. |
| Chauncey G. Webb, | Cynnadleddau Newcastle-on-Tyne, Hull, a Carlisle. |
| James G. Willie, | Cynnadleddau Southampton, a Dorsetshire. |
| Charles Smith, | Cynnadl. Derbyshire, Leicestershire, a Nottinghamshire. |
| Sylvester H. Earl, | Cynnadleddau Staffordshire, a Shropshire. |
| Thomas Jeremy | Cynnadl. Morganwg Orllew., Llanelli, a Chaerfyrddin. |
| Daniel Daniels, | Cynnadl. Sir Aberteifi, Gogledd Penfro, a Deau Penfro. |
| John Parry, ieu., | Cynnadleddau Sir Feirionydd, Sir Fôn, Dyffryn Conwy, Sir Ddinbych, a Sir Fflint. |
| Robert Campbell, | Cynnadl. Glasgow, Edinburgh, Dundee, a Kilmarnock. |
| John McDonald, | Cynnadledd Belfast, a Changen Londonderry. |

## LLYWYDDION AC YSGRIFENWYR CYNNADLEDDAU.

| | LLYWYDD. | YSGRIFENYDD. | | LLYWYDD. | YSGRIFENYDD. |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | Perry G. Sessions, | Jas. Johnstone. | 28 | Isaac Allred, | |
| 2 | James Marsden, | T. C. Armstrong | 29 | Joseph Hall, | Samuel Francis |
| 3 | A. Marchant, | Charles Jones, | 30 | John O. Angus, | Jesse Gardner. |
| 4 | John Hyde, | | 31 | Millen Atwood, | John Irving. |
| 5 | A. F. McDonald, | Geo Turnbull. | 32 | Dan Jones, | William Lewis. |
| 6 | Henry Savage, | John Pimm. | 33 | Thomas Giles | G. W. Davies. |
| 7 | William Glover, | J. C. Sanderson | 34 | Robert Evans, | George Bywater |
| 8 | John Albiston, | Henry J. Jarvis | 35 | Dewi E. Jones, | A. L. Jones. |
| 9 | John Robinson | William Clark. | 36 | John Price, | John Gibbs. |
| 10 | Robert Menzies, | John Foley. | 37 | John D. Roberts, | Evan E. Morgan |
| 11 | Thos. Williams, | Henry Waldon. | 38 | Thos. C. Martill, | Isaac Jones. |
| 12 | Graham Douglas, | John Hole. | 39 | John Parry, ieu., | Griffith Roberts |
| 13 | Hugh Patrick, | Rush McDonald | 40 | John N. Jones, | Lewis Davies. |
| 14 | Job Smith, | Joseph Hyde. | 41 | John Evans, | David John. |
| 15 | Thomas Squires, | Ebenezer Gillies | 42 | W. W. Richards, | John Davies. |
| 16 | John Lewis, | Jas. Albon, ieu. | 43 | Philip Sykes, | Thomas Evans. |
| 17 | George Bramwell, | Chas. R. Savage | 44 | William Simms, | John Davies. |
| 18 | Matthew Rowan, | John Kelly. | 45 | Richard Roberts, | William Davies. |
| 19 | William G. Mills, | T. J. Bryceson | 46 | Edward Martin, | Patrick Lynch |
| 20 | Jos. Westwood, | William Wright. | 47 | T. W. Brewerton, | F. C. Robinson |
| 21 | John Barker, | Henry Fulstone. | 48 | Andrew Ferguson, | James Mair. |
| 22 | Charles Derry, | | 49 | Joseph Booth, | Patrick Lynch |
| 23 | William McGhie, | John Bush. | 50 | John McDonald, | |
| 24 | Edward Frost, | Thos. Harrald. | 51 | Gilbert Clements, | H. E. Bowring |
| 25 | Martin Slack, | C. W. Penrose. | 52 | Thomas Ord, | Hugh Sheppard |
| 26 | John T. Hardy, | A. S. Green. | 53 | Andrew Galloway, | James Duff. |
| 27 | J. V. Long, | John M. Brown | | | |

## AMRYWIAETHAU, &c.

MEDDWDOD.—Gochelwch feddwdod, rhag i bob dynion da eich gochelyd chwi; lle y mae meddwdod yn llywodraethu, y mae rheswm yn alltud; rhinwedd yn ddyeithr, a Duw yn elyn; cabledd yn ddoethineb, llwon a rhegfeydd yn hyawdledd, a phob cyfrinach yn cael ei chyhoeddi a'i dadguddio.

ARFERID dywedyd gan y Brenin Alphonsus, "Mae fy mhrif gynghorwyr (gan feddwl ei lyfrau) yn llawer gwell i mi nâ holl ddynion byw y byd; canys y maent hwy, heb weniaith nac ofn, yn dangos i mi y gwirionedd."

CLOD, fel aur a pherlau, sydd yn werthfawr o herwydd ei brinder; colla ei werth pan ddeua yn gyffredin, ac nid yw mwyach yn cynhyrfu awydd, nac yn cymhell i ddiwydrwydd ac ymdrech.

YR hwn a ohiria edifeirwch hyd ddydd arall, sydd ganddo ddiwrnod yn rhagor i edifarhau o'i herwydd, a diwrnod yn llai i edifarhau ynddo.

NID oes fater o ba wreiddyn yr ydym yn disgyn, os ydym yn feddiannol ar rinwedd; canys rhinwedd yn unig sydd yn cyfansoddi gwir anrhydedd.

GWAITH cysson a warcheida yn erbyn profedigaeth.

PENNILL.

O Arglwydd, edrych arnom, dy bobl, ar y llawr;
Rho in' o'th nefol Ysbryd, a maddeu'n beiau 'nawr:
O herwydd 'rym yn dystion it' wneyd hyn lawer gwaith;
Gwna etto, 'rwy'n dymuno, ein cadw gyda'th waith.

*Penylefel.* JOHN EVANS.

---

TALIADAU O GOR. 22 HYD GOR. 28.—Llanelli, £5; Pontytypridd, 7s; Aberamman, 14s; Hirwaen, 3s 3c; Georgetown, 5s 1c; Troedyrhiw, 3s 2c.—Cyfanswm, £6 12s 6c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 6.] AWST 6, 1853. [CYF. VI.

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

*A gynnaliwyd yn Ninas y Llyn Halen Fawr, ar y 6fed dydd o Ebrill*, 1853.

[Parhad o dud. 77.]

*Tabernacl, tri yn y prydnawn.*—Galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Young.

Canwyd. Gweddiwyd gan yr Henuriad Amasa Lyman. Canwyd.

Y Llywydd YOUNG a draddododd y ganlynol

### BREGETH.

Yr ydym wedi cydymgynnull y prydnawn hwn i barhau busnes y Gymmanfa, rhan o ba un a ddylai gael ei defnyddio at hyfforddi, addysgu, olrhain i mewn i brofiad yr Eglwys, neu mewn unrhyw ffordd yr amlygo Ysbryd yr Arglwydd.

Gall y fusnes neillduol ag sydd i'w thrafod mewn Cymmanfa fel hon, gael ei gwneyd yn dra chyflym—dichon y gallwn wneuthur yr oll sy'n anghenrheidiol, mewn hanner diwrnod, neu mewn diwrnod o bellaf.

Daethom ynghyd i'r dyben o addoli yr Arglwydd, ac y mae amryw wedi dyfod o bellder, y rhai a ddymunent ddyfod i fyny yma ac ymuno â'u brodyr i fyfyrio ar waith y dyddiau diwedd-af, ac i lefaru wrth eu gilydd eiriau cysur; canys y mae yn

ymarferiad tra phleserus, ar achlysuron fel hwn, yn gystal ag mewn cyfarfodydd ereill, i adrodd drosodd wrth y naill y llall helyntion bywyd, teimladau y galon, y galanastra a fu yn ein plith, yr anhawsderau a orchfygasom, a'r dyddiau, y misoedd, a'r blynyddoedd y dygwyd ni trwyddynt.

Mi a ddywedaf, fel un, cyn belled ag y deil gyssylltiad â'm teimladau fy hun, fod fy mrodyr at eu rhyddid i siarad am yr hyn sydd yn eu calonau. Hyny yw fy mraint i; a dymunaf iddo gael ei ddeall mai hyny hefyd yw braint y rhai a anerchant y gymmanfa hon. Os ydynt am draddodi araeth ar athrawiaeth—ar gasgliad Israel, er enghraifft, maent at eu rhyddid i wneuthur felly. Os oes rhywun yn dymuno pregethu egwyddorion cyntaf yr Efengyl, edifeirwch a bedydd, ynghyd â'r doniau, y mae at ei ryddid.

Oni bai fod eisieu i'n cyrff gael eu bwyda a'u dilladu, mi a gynnygiwn fod i ni aros yma ychydig o fisoedd, i roddi cyfleusdra i bawb lefaru, i annog, gweddio, prophwydo, canu, llefaru mewn tafodau, neu wneuthur pa beth bynag a amlygai yr Ysbryd iddynt. Eithr mae ein gwaith ni yn waith yr amser presennol. Yr iachawdwriaeth yr ymgeisiwn am dani sydd am yr amser presennol; ac os ymgeisiwn am dani yn iawn, fe ellir ei chael, a'i mwynhau yn barhaus. Os parha heddyw, ar yr un egwyddor y parha y fory, y dydd nesaf, yr wythnos nesaf, neu y flwyddyn nesaf, a gallem ddywedyd, y tragywyddoldeb nesaf.

Os ydym yn gadwedig, yr ydym yn ddedwydd, yn llawn goleuni, gogoniant, a dealltwriaeth, ac yn dilyn gyrfa er mwynhau y bendithion sydd yn nghadw gan yr Arglwydd er ein mwyn. Os parhawn i ddilyn yr yrfa hono, cynnyrcha i ni yr hyn sydd arnom eisieu, hyny yw, bod yn gadwedig y fynyd bresennol hon. A gosoda hyn y sylfaen i fod yn gadwedig yn oes oesoedd, yr hyn yw iachawdwriaeth dragywyddol.

Frodyr, yr ydym wedi cyflawni bwriad ein calonau, yr hyn ddarfu i ni ewyllysio ei gyflawni. Ac yn wir, mae y meddwl hwn wedi ymwthio i'm calon yn ddiystyriaeth, sef—Yn mha beth ni chyflawnasom yr hyn oll a ewyllysiem wneuthur? nid yn unig mewn cloddio y ddaear, a gosod y Conglfeini yn nghanol prif gorff yr adeilad a gyfodwn yn Deml, eithr yn mha beth y myfyriasom wneuthur dim, na wnaethom, er adeil-

adu Teyrnas Dduw? Os oes methiant wedi bod, nid yw yn dod i'm meddwl ar yr amser hwn. Nis gallaf yn awr ad-alw i'm meddwl unrhyw amgylchiad o'r fath, yn ngwyneb yr holl erlidiau a chystuddiau ag y mae'r bobl hyn wedi myned trwyddynt.

Er i'r gelyn gael gallu i ladd ein Prophwyd, hyny yw, lladd ei gorff, ai ni chyflawnodd efe yr hyn oll ag oedd yn ei galon i'w gyflawni yn ei ddydd? Do, ac yr wyf fi yn ddigon gwybodus o hyny, ac y mae genyf yma lawer o dystion a'i clywodd yn dadgan iddo wneuthur pob peth a allasai wneuthur —ei fod wedi dadguddio pob peth a ellid ddadguddio yn *bresennol*, ei fod wedi parotoi y ffordd i'r bobl rodio ynddi, ac na chai dyn na dynes ei amddifadu o fyned i bresennoldeb y Tad a'r Mab, a mwynhau dyrchafiad tragywyddol, os rhodient yn y llwybr a nododd ef iddynt.

O'r dydd y syrthiodd ef hyd y dydd hwn, os oes un gorchwyl o waith, os oes un peth ag a ddylai fod wedi ei wneyd gan y bobl hyn, heb gael ei wneyd, nis gallaf fi ei ddwyn ar gof, er iddi edrych yn dywyll am y mis neu'r chwech wythnos sydd wedi myned heibio, gan fod y tywydd mor anffafriol gyda golwg i fod yn barod i osod y Conglfeini heddyw.

Mae yn dda genyf i ddywedyd fod cryn lawer o ffydd wedi ei hamlygu gan y Saint, a thrwy y ffydd hono mae yr Arglwydd wedi caniatâu i ni ddymuniad ein calonau; neu ynte, mae y diafol wedi ei anfon ar neges ffordd arall, ac wedi anghofio ei hun. Nid wyf yn meddwl, pa fodd bynag, fod achos iddo ymdrafferthu llawer ynghylch y byd, canys y maent hwy yn ddigon diogel ganddo. Efallai ei fod wedi cysgu ychydig yn rhy hir, gan nad yw wedi bod yma ar y dydd nodedig hwn. Yr wyf yn priodoli hyn i'n Tad yn y nefoedd, am roddi i ni y tywydd hyfrydol hyn heddyw.

Ni chafodd y gynnulleidfa le mor gyfleus ag y dymunem. Buasai yn dda genym pe gallasent fod mewn man ag y gallent glywed yr holl areithiau a'r gweddiau a draddodwyd ar y pedwar maen; eithr hwy a fyddant yn argraffedig, fel y galloch eu darllen wrth eich pleser.

Nid wyf yn hoffi prophwydo llawer, nid wyf byth yn ei wneuthur, eithr mi a anturiaf amcanu, y bydd i'r dydd hwn, a'r gwaith a gyflawnwyd ynddo, gael ei hir gofio gan y bobl

hyn, a'u swnio megys â sain udgorn trwy y byd, mor bell, mor uchel, a chyhyd, ag y gall agerdd, gwynt, a'r hylif trydanol ei gario. Mae yn ddydd y gorfoledda yr holl ffyddloniaid o'i herwydd yn mhob amser dyfodol.

Bydd i rai ofyn, "A ydych chwi yn meddwl y gorphenwn y Deml hon, frawd Brigham?" Mae cwestiynau felly wedi cael eu gofyn i mi eisoes. Fy ateb yw, nad wyf yn gwybod, ac nad wyf yn gofalu mwy am hyny nâ phe buasai fy nghorff yn farw ac yn y bedd, a'm hysbryd yn Mharadwys. Ni ofalais erioed ond am un peth, a hwnw yw, gwybod yn unig fy mod yr awrhon yn uniawn gerbron fy Nhad yn y nef. Os wyf y fynyd hon, y dydd hwn, yn gwneuthur y pethau a ofyna Duw ar fy llaw, a'm bod yn gywir lle y mae fy Nhad nefol am i mi fod, nid wyf yn gofalu mwy am y fory nâ phe byddai heb ddyfod byth. Nid wyf fi yn gwybod pa le y byddaf y fory, na pha bryd y gorphenir y Deml hon—nis gwn i fwy am dani nâ chwithau. Os dadguddia Duw rywbeth er eich mwyn chwi, mi a'i mynegaf i chwi mor rhwydd â phe dywedwn, Ewch i Ddinas Creek, ac yfwch hyd nes eich disycheder.

Hyn a wn i—y dylai Teml gael ei hadeiladu yma. Mi a wn mai dyledswydd y bobl hyn yw dechreu adeiladu Teml. Yn awr, bydd rhai am wybod pa fath adeilad yw hwn i fod. Dysgwyliwch yn amyneddgar, frodyr, hyd nes y bo wedi ei orphen, ac estynwch eich dwylaw yn ewyllysgar i'w orphen. Mi a wn pa fath un a fydd. Nid wyf fi yn weledigaethydd, nac wedi ymroddi llawer i brophwydo. Pan y mae arnaf anghen rhywbeth felly, yr wyf yn galw ar y brawd Heber—efe yw fy Mhrophwyd i; mae ef yn caru prophwydo, ac yr wyf finnau yn caru ei glywed. Nid wyf fi braidd byth yn dweyd llawer am ddadguddiadau, neu weledigaethau, eithr digoned i ddweyd, mai pum mlynedd yn ol i Orphenaf diweddaf yr oeddwn i yma, ac mi a welais y Deml yn yr ysbryd, heb fod ddeg troedfedd o'r man y gosodasom y prif gonglfaen. Nid ymofynais i pa fath Deml a gaem adeiladu? Paham? O herwydd iddi gael ei dangos o'm blaen. Nid wyf erioed wedi edrych ar y tir hwna, heb fod y weledigaeth o honi yno. Yr wyf yn ei gweled mor amlwg â phe byddai mewn gwirionedd o'm blaen. Aroswch hyd nes ei gorphener. Mi a ddywedaf, pa fodd bynag, y bydd iddi chwech o dyrau, i ddechreu, yn lle

un. Yn awr, na fydded i neb o honoch wrthgilio, oblegid y bydd iddi chwech o dyrau, a Joseph heb adeiladu ond un yn unig. Mae yn rhwyddach i ni adeiladu unarbymtheg, nag oedd iddo ef adeiladu un. Daw yr amser pan y bydd un yn nghanol y Temlau a adeiladwn, ac ar ei phen goedwigoedd a physgodlynoedd. Eithr nis gwelwn hwynt yma, yn bresennol.

Y Brif Lywyddiaeth a aethant at y gongl dde-ddwyreiniol, i osod y gareg gyntaf, er ei fod yn arferol i ddechreu ar y gongl ogledd-ddwyreiniol—dyna'r pwynt dechreuol yn fwyaf cyffredin, feddyliwyf, yn y byd. Ar yr ochr hyn i'r cylch cyhydedd, yr ydym yn dechreu ar y gongl dde-ddwyreiniol. Yr ydym weithiau yn edrych am oleuni, chwi wyddoch, frodyr. Yr ydych chwi hen bobl ag sydd wedi myned trwy y felin yn lled dda, wedi bod yn ymofyn am oleuni—pa ffordd yr ydych yn myned? Chwi a ddywedwch wrthyf eich bod yn myned i'r dwyrain am oleuni. Felly yr ydym ninnau yn dechreu trwy osod y gareg ar y gongl dde-*ddwyreiniol*, oblegid mai yno y mae fwyaf o oleuni.

Cyn gynted ag y bydd cofnodion gweithrediadau y dydd hwn allan, fe fydd Henuriaid, Archoffeiriaid, a Degau-a-thrugain, yn holi os cafodd yr un drefn ei chario allan heddyw ag a gadwyd wrth osod Conglfeini Temlau ereill. Yr wyf am roddi ychydig o hanes i chwi, fel y galloch wybod.

Pan osodwyd y conglfeini yn Kirtland, gorfu arnynt ddewis bechgyn pymtheg ac un-ar-bymtheg oed, a'u hordeinio yn Henuriaid, er cael digon o swyddogion i osod y Conglfeini. Nid oedd Corwm y Deuddeg, a'r Uchel Gynghor, a llawer o awdurdodau ereill ag ydynt yn bodoli yn awr, mewn bod y pryd hwnw. Joseph a lywyddai yr Eglwys, trwy lais yr Eglwys.

Dichon y gwnelai i rai o honoch dramgwyddo, pe gofynwn gwestiwn i chwi—A ydyw fod dyn yn Brophwyd yn yr Eglwys hon yn profi mai ef fydd ei Llywydd? Atebaf, nac yw! Gall dyn fod yn Brophwyd, Gweledydd, a Dadguddiwr, a gall nad oes dim a wnelo hyny â'i fod yn Llywydd yr Eglwys. Digon yw dweyd, mai Joseph oedd Llywydd yr Eglwys cyhyd ag y bu fyw: dewisodd y bobl iddo fod felly. Efe a lanwai y swydd gyfrifol hono trwy lais y bobl. A ellwch chwi gael unrhyw ddadguddiad yn ei benodi ef yn Llywydd yr Eglwys? Allweddau yr Offeiriadaeth a roddwyd i Joseph, er adeiladu

Teyrnas Dduw ar y ddaear, ac nid oeddynt i'w cymmeryd oddiwrtho mewn amser nac mewn tragywyddoldeb; eithr pan alwyd ef i lywyddu dros yr Eglwys, yr oedd hyny trwy lais y bobl; er ei fod ef yn dal allweddau yr Offeiriadaeth yn annibynol ar eu llais.

Yr wyf am i Henuriaid Israel adfyfyrio ar y pwnc hwn. Byddai yn dda genyf i ddysgu rhywbeth i chwi, fel nad eloch i gymmaint o ddyryswch ag arferol. Yr ydych yn gwneyd i mi feddwl am blentyn ag sydd yn ceisio gwneyd rhaff o swp o hen edafedd, nes y byddo y cyfan yn myned i ddyryswch. Felly y mae gydag Henuriaid Israel o barthed eu golygiadau am yr Offeiriadaeth.

Yn awr, gwrandewch arnaf, ac mi a ymdrechaf siarad fel y dealloch. Mi a feiddiaf fyned ychydig yn mhellach nag y gwnaethym o barthed i Lywydd yr Eglwys, a dywedyd wrth y bobl yma, y gall dyn gael gweledigaethau, gall angylion Duw weinyddu iddo, gall gael cynnifer o weledigaethau ag a allech eu rhifo ; gall gael y nefoedd yn agored iddo, a gweled bys yr Arglwydd, ac nis gwnelai hyn oll ef yn Lywydd yr Eglwys, neu yn Henuriad, Archoffeiriad, neu Apostol; ac ni phrofai ei fod hyd y nod yn un o'r Saint: mae eisieu rhywbeth arall i'w brofi. Yr achos y crybwyllaf hyn, yw o herwydd breuder, gwendid, a byr-olwg y bobl. Pe deuai dyn atoch a mynegi iddo gael gweledigaeth, ac iddo allu cadarnhau ei dystiolaeth i'r nefoedd gael ei hagor iddo, yr ydych chwi yn barod i ymgrymu iddo a'i addoli; a gallai yntau fod, ar yr un amser, yn offeryn trwyadl i ddinystrio y bobl—un o'r cythreuliaid mwyaf ar y ddaear. Efe a ddangosai ei fod yn un o'r dynion gwychaf, ei fod yn onest a diryfyg, ac a ddeuai gyda holl urddas a chadfridogaeth y diafol, yr hyn sydd mor effeithiol i dwyllo y bobl. Caniatewch mai fel hyn y mae.

Os gofynwch i mi pa beth a brofa dyn neu ddynes yn Sant, mi a atebaf y cwestiwn. "Os ydych yn fy ngharu i," medd yr Iesu, "chwi a gedwch fy ngeiriau." Dyna yw y maen prawf. Os ydych yn caru yr Arglwydd Iesu Grist, a'r Tad, chwi a gedwch orchymynion y Mab—chwi a wnewch ei ewyllys. Os esgeuluswch wneuthur hyn, chwi a ellwch gael yr holl weledigaethau a'r dadguddiadau a ellid eu rhoddi i ddyn marwol, ac etto heb fod yn ddim amgen nâ diafol. Y rheswm paham y

defnyddiaf yr ymadrodd hwn, yw, o herwydd pan oleuir meddwl dyn, a throi o hono o'r goleuni hwnw i'r tywyllwch, y mae yn ei barotoi i fod yn ddiafol. Ni wybu dyn erioed pa fodd i fod yn ddrygionus, hyd nes i oleuni a gwirionedd gael eu hamlygu iddo yn gyntaf. Y pryd hwnw yw yr amser i ddynion wneyd eu penderfyniad; canys os troant ymaith oddiwrth yr Arglwydd, mae yn eu parotoi i fod yn gythreuliaid.

Yn awr, yr wyf am fyned yn ol, canys yr wyf wedi crwydro ychydig o barthed i osodiad y Conglfeini, ac mi a gymmeraf i fyny yr Apostoliaeth mewn cyssylltiad â hyn. Gadewch i mi ofyn cwestiwn i Gorwm yr Archoffeiriaid er mwyn dwyn allan y peth a ewyllysiaf ei osod o'ch blaen. Gofynaf i'r Archoffeiriaid, o ba le y deillia yr Apostoliaeth? A ydyw yn deilliaw o'r Archoffeiriadaeth? Mi a feiddiaf ddywedyd, pe na byddwn i yma heddyw, a phe cynnygid y cwestiwn hwn i ddadleu arno, chwi a gawsech yr Henuriaid yn y gynnulleidfa hon, efallai, wedi ymranu agos yn gyfartal ar y pwnc. Buasai cynnifer o Archoffeiriaid i ddywedyd fod yr Apostoliaeth yn deillio o'r Archoffeiriadaeth, ag a fyddai i ddywedyd nad yw. Gadewch i mi ateb y cwestiwn. Yn awr, cofiwch fod yr Archoffeiriadaeth, a'r Offeiriadaeth leiaf, a'r holl Offeiriadaeth ag sydd, yn gydunedig, yn canolbwyntio yn, ac yn gyfansoddedig o, ac yn amgylchynedig gan yr Apostoliaeth. Frodyr, a fuoch chwi erioed yn gwybod hyn o'r blaen? Pe buasech wedi darllen y llyfr yna yn ystyriol (gan gyfeirio at y Llyfr Cyfammodau), buasai wedi mynegi i chwi yr hyn wyf fi yn ei adrodd wrthych yn awr; er hyny, ni wyddai yr Archoffeiriaid yn ei gylch.

Yr wyf yn llefaru fel hyn er dangos i chwi drefn yr Offeiriadaeth. Ni a ddechreuwn yn awr gyda yr Apostoliaeth, lle y dechreuodd Joseph. Ordeiniwyd Joseph yn Apostol—chwi a allwch wybod a deall hyny. Ar ol iddo ef gael ei ordeinio i'r swydd hon, yna efe a feddai yr hawl o gorffoli ac adeiladu Teyrnas Dduw, canys efe a roddodd iddo allweddau yr Offeiriadaeth hon sydd yn ol urdd Melchisedec—yr Archoffeiriadaeth, yr hon sydd yn ol urdd Mab Duw. A hyn, cofiwch, trwy gael ei ordeinio yn Apostol.

A allasai efe adeiladu Teyrnas Dduw, heb fod gyntaf yn Apostol? Na allasai byth. Allweddau yr Offeiriadaeth dragywyddol, yr hon sydd yn ol urdd Mab Duw, a ddeallir trwy

fod yn Apostol. Mae yr holl Offeiriadaeth, yr holl allweddau, yr holl roddion, yr holl gynnysgaethiadau, a phob peth rhagbarotoadol er myned yn ol i bresennoldeb y Tad a'r Mab, yn, ac yn gyfansoddedig o, yn amgylchynedig gan, neu gallaf ddywedyd, yn gorffoledig o fewn amgylchedd yr Apostoliaeth.

Yn awr, pwy a ddodwn, yn y lle cyntaf, i osod y prif, y deddwyreiniol Gonglfaen—y gongl o ba un y deillia goleuni i lewyrchu trwy yr holl adeilad ag sydd i gael ei oleuo? Dechreuwn gyda y Brif Lywyddiaeth, gyda'r Apostoliaeth, canys yr oedd Joseph, bob amser, yn dechreu gydag allweddau yr Apostoliaeth, ac efe, trwy lais y bobl, gan lywyddu ar yr holl gydwladoldeb o Saint y Dyddiau Diweddaf, a weinyddodd yn yr Apostoliaeth, fel y prif Lywydd.

Pa beth sydd yn dyfod nesaf yn yr Eglwys? Mi a'ch cyfeiriaf yn awr yn uniongyrchol at adeiladiad Teyrnas Dduw yn y dyddiau diweddaf. Pa beth ydym yn weled nesaf? Joseph fel Apostol yr Oen, ynghyd ag allweddau yr Offeiriadaeth dragywyddol yn cael eu rhoddi iddo gan Pedr, Iago, ac Ioan. I ba beth? I adeiladu Teyrnas Dduw ar y ddaear. Yn nesaf y tardda allan swydd berthynol i achosion tymmorol y Deyrnas hon, allweddau pa un a roddir i ddyn ar y ddaear, yn rhagbarotoadol i'w sefydliad—yn rhagbarotoadol i'w lledaeniad, ei thyfiant, ei chynnydd, a'i llwyddiant yn mhlith y cenedloedd. Y cam nesaf a welwn yn cael ei gymmeryd gan yr Arglwydd, yw darparu gogyfer â'r corff; o ganlyniad, rhaid fod rhyw berson wedi ei benodi i lanw y swydd hon, ac i sefyll ochr yn ochr â'r Apostol hwn—y Prif Lywydd yma. Pwy ydoedd? Nid y brawd Hunter. Pwy ydoedd, ynte? Y brawd Partridge. Gwelwn i'r brawd Partridge gael ei alw i lanw y lle hwna, cyn fod Corwm yr Henuriaid, neu Gorwm yr Archoffeiriaid, mewn bod, ïe, cyn siarad am y peth, ac hefyd cyn dewis y Deuddeg Apostol, ond er hyny, nid cyn rhoddi y dadguddiad i arwyddo y byddai y fath gorwm.

Gwelwn yr Apostol hwn ag allweddau yr Offeiriadaeth i adeiladu y Deyrnas, i roddi goleuni i'r rhai ag oedd mewn tywyllwch, i gymhorth y rhai gweiniaid, i gynnal y crynedig, i weinyddu iachawdwriaeth i'r edifeiriol, ac i fod yn gynnaliaeth a ffon i'r rhai parod i syrthio. Gwelwn yr Apostol cawr-

aidd hwn yn sefyll allan felly, yn wisgedig ag awdurdod y nef, er adeiladu achos Duw ar y ddaear. Wrtho ef y dywedodd yr Arglwydd am alw Esgob. Felly yr Esgob oedd yr awdurdod arosol nesaf yn Nheyrnas Dduw; gan hyny, yr ydym yn gosod yr Esgob wrth yr ail gongl o'r adeilad. Offeiriadaeth Melchisedec, a'r allor, y celfi, a'r dodrefni, a berthynant iddi, ydynt yn y Dwyrain, a'r Offeiriadaeth Aaronaid a berthyna i'r Gorllewin; o ganlyniad, yr Esgob Llywyddol a osododd yr ail gareg.

A ydych chwi yn gofyn, os mai felly yr oedd yn yr adeiladau ereill? Nis gwn i, ac nid wyf yn gofalu chwaith.

Corwm yr Archoffeiriaid—ai hwy sydd yn dyfod nesaf mewn trefn? ai hwy sydd yn camu nesaf i'r maes? Na, nid yn neillduol, yn fwy nâ'r Henuriaid, na'r Henuriaid yn fwy nâ'r Uchel Gynghor, nâ'r Uchel Gynghor yn fwy nâ'r Athrawon, y Diaconiaid, neu yr Offeiriaid. Corwm yr Archoffeiriaid sydd gorwm sefydlog, yn arosol gartref. Felly hefyd Corwm yr Henuriaid; eithr lle yr Esgob sydd yn achosion tymmorol yr Eglwys: felly, ynte, pa beth a ddywedwn? Wel, o barch i'r Archoffeiriadaeth, yr hyn nid yw ddim mwy nâ'r hyn sydd yn iawn a rhesymol, fod i ni anrhydeddu yr Offeiriadaeth a roddodd Duw i ni, dywedwn wrth yr Archoffeiriaid, Gosodwch y trydydd Conglfaen.

Ni a gychwynasom wrth y Gongl dde-ddwyreiniol, gyda'r Apostoliaeth; yna yr Offeiriadaeth leiaf a osodasant yr ail faen; yr ydym yn eu dwyn hwynt yn ein rhesi at y trydydd maen, yr hwn a osododd yr Archoffeiriaid a'r Henuriaid; yr ydym yn eu cymmeryd hwythau dan ein haden at y Conglfaen gogledd-ddwyreiniol, yr hwn a osododd y Deuddeg a'r Degau-a-thrugain, ac yn uno yno drachefn â'r Apostoliaeth. Mae hi yn cynnwys pob Offeiriadaeth arall, oblegid Offeiriadaeth Melchisedec ydyw, yr hon sydd yn ol urdd Mab Duw.

Mae dweyd fod dyn yn Apostol, yn gyfartal i ddweyd fod dyn wedi ei ordeinio i adeiladu Teyrnas Dduw o'r dechreu i'r diwedd; eithr nid yw felly wrth ddweyd ei fod wedi ei ordeinio yn Archoffeiriad. Mae yr Esgobaeth trwy hawlfraint yn perthyn i ddisgynyddion llythyrenol Aaron, eithr y mae genym i ordeinio o lwythau ereill, ddynion ag sydd yn dal yr Archoffeiriadaeth, i weinyddu yn yr Offeiriadaeth leiaf, hyd nes

y gallwn gael disgynydd llythyrenol o Aaron, yr hwn sydd yn barod i'w derbyn.

Chwi welwch, ynte, fod yr Offeiriadaeth leiaf, yn dyfod o fewn i erthygl rhagddarbodus *(purview)* yr Apostoliaeth, oblegid medda y dyn sydd yn ei dal hawl i weithredu neu weinyddu fel Archoffeiriad, fel un o'r Uchel Gynghor, fel Patriarch, fel Esgob, Henuriad, Offeiriad, Athraw, a Diacon, ac yn mhob swydd a galwedigaeth arall yn yr Eglwys, o'r flaenaf i'r olaf, pan fyddo dyledswydd yn gofyn hyny.

Dyma yw trefn yr Offeiriadaeth, frodyr. Mi a deimlais fel pe dymunwn wneuthur rhai sylwadau ar y pwnc hwn ar dir y Deml; eithr gollwng y gynnulleidfa a'm doluriodd yn fawr; yr oeddwn am wneyd rhai sylwadau ar yr un pryd, ond gwan-obeithiais y gallwn wneyd i chwi glywed; felly meddyliais i beidio llefaru yn yr awyr agored, ac i ddweyd yr hyn oedd genyf i'w ddweyd yn y Tabernacl.

Mi a wn pa beth a wnaed yn Nauvoo; yr oedd i gyd yn iawn. Mae pob peth yn iawn gyda mi. Yno galwyd y Deuddeg i osod y Conglfaen gogledd-ddwyreiniol, os nad wyf yn camsynied. Pa fodd bynag, nid yw un wahaniaeth, yr oedd gystal eu bod yno ag yn rhywle arall. Eithr i gymmeryd i fyny yr Offeiriadaeth yn ei pherffaith drefn a dull, chwi welwch fod yr Apostoliaeth yn amgylchynu pob peth yn Eglwys Dduw ar y ddaear. Hon yw y drefn, ac yr wyf fi wedi ymdrechu ei chario allan ger eich bron, fel y gwypoch oll o hyn allan, pa beth yw y wir drefn, mor bell ag y gellir ei harddangos yn ngosodiad y Conglfeini. Cyn belled ag y perthyna gosodiad conglfaen yn unig, y mae un gongl mor dda genyf fi â'r llall.

Mi a roddaf i chwi yr eglurhad paham yr aethom yn mlaen megys ag yr aethom. Awgrymwyd i mi, y teimlai y Deuddeg yn well, efallai, i osod yr ail gareg. Pan ddywedais i wrthynt mai y pedwaredd gareg oedd y gareg a gaent hwy osod, tarawodd i'm meddwl fy mod innau wedi cael fy ordeinio yn Apostol; ac yr wyf etto yn perthyn i'r Apostoliaeth; ai ydych chwi wedi fy nhori ymaith, frodyr? [Lleisiau ar yr esgynlawr, "Nac ydym."] Tarawodd i'm meddwl, os oeddech chwi am osod yr ail gareg, nad oeddych yn teimlo fod genych yr Apostoliaeth ynoch, neu ni theimlech fel ag y gwnawn i; canys hi

yw y dechreu a'r diwedd, uchder, dyfnder, hyd, a lled yr hyn oll sydd, fu, ac a fydd i bob tragywyddoldeb. Ni chlywais i fod unrhyw deimladau ynghylch y mater, ond yn unig i rywun awgrymu y peth. Tri o'r Deuddeg, ynte, a osododd y gareg gyntaf, ac yna Corwm y Deuddeg a osododd y bedwaredd.

Yn awr, a achosa hyn i rai o honoch ryfeddu na chefais i fy ordeinio yn Archoffeiriad cyn i mi gael fy ordeinio yn Apostol? Ni chafodd y brawd Kimball a minnau erioed ein hordeinio yn Archoffeiriaid. Mor rhyfedd! Yr oeddwn yn myned i ddywedyd pa mor lleied yr oedd rhai o'r brodyr yn ddeall am yr Offeiriadaeth, ar ol i'r Deuddeg gael eu galw. Yn ein gyrfa foreuol yn yr Eglwys hon, ar un achlysur, yn un o'r cynghorau, yr oeddem yn dywedyd ynghylch rhai o'r Deuddeg ag oedd am ein hordeinio ni yn Archoffeiriaid, a'r hyn a ddywedais i wrth y brawd Patten pan oedd am fy ordeinio i yn Nhalaeth York: meddwn i, Frawd Patten, aroswch hyd nes y gallaf godi fy llaw tua'r nef a dywedyd, Yr wyf fi wedi mawrygu y swydd o Henuriad. Ar ol i'n hymddyddan yn y cynghor fyned drosodd, dechreuodd rhai o'r brodyr ofyn, a dweyd y dylem ni gael ein hordeinio yn Archoffeiriaid; ar yr un pryd, nid oeddwn i yn ystyried fod ar Apostol anghen i gael ei ordeinio yn Archoffeiriad, Henuriad, neu Athraw. Ni thraethais i fy ngolygiadau ar y pwnc y pryd hwnw, eithr meddyliais y mynwn glywed pa beth a ddywedai y brawd Joseph am dano. Wm. E. McLellin oedd yr hwn a hysbysodd Joseph, nad oeddwn i ac Heber wedi ein hordeinio yn Archoffeiriaid, ac yr oedd am wybod os na ddylai hyny gael ei wneuthur. Dywedodd Joseph, "A anmharchwch chwi yr Offeiriadaeth? ai dyna yr holl wybodaeth a feddwch am swydd Apostol? Ai ni wyddoch fod y dyn a dderbynia yr Apostoliaeth, yn derbyn yr holl allweddau a roddwyd erioed, neu a ellir eu rhoddi i farwol ddyn? Pa beth yr ydych yn siarad yn ei gylch? Yr wyf fi yn synu!" Ni ddywedwyd dim yn rhagor am hyny.

Mi a wn i Joseph dderbyn ei Apostoliaeth oddiwrth Pedr, Iago, ac Ioan, cyn i ddadguddiad ar y pwnc gael ei argraffu, ac ni fu hawl ganddo ef erioed i gorffoli Eglwys cyn ei fod yn Apostol.

Ymdrechais ddangos i chwi, frodyr, mor fyr ag oedd bosibl,

drefn yr Offeiriadaeth. Pan fo dyn yn cael ei ordeinio yn Apostol, mae ei Offeiriadaeth heb ddechreu dyddiau na diwedd einioes, megys Offeiriadaeth Melchisedec; canys am ei Offeiriadaeth ef y llefarwyd felly, ac nid am y dyn.

Pan gyfodais i'ch anerch, yr oeddwn am siarad ychydig â chwi am fy mhrofiad mewn "Mormoniaeth" ymarferol, eithr nid oedd genyf amser, ac yr wyf wedi siarad digon yn barod. Yr wyf wedi bod o amgylch ogylch i hyny, chwi wyddoch, oblegid y mae oll tu fewn i'r hyn a fum yn fynegi wrthych. Bendithied yr Arglwydd chwi yn oes oesoedd, yn enw Iesu Grist. Amen.

Dilynwyd y Llywydd Young gan yr Henuriad Amasa Lyman, mewn araeth hirfaith, gan ddwyn tystiolaeth fod hawl gan ddynion i wneyd yr holl ddaioni a allont, &c.

Canwyd gan y côr, "Judge me, O Lord."

Gweddiwyd gan E. T. Benson.

*(I'w barhau.)*

---

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 80.]

Ni chaniateir i'r angylion na chadwasant eu cyflwr dechreuol liosogi. Paham? O herwydd eu drygioni. Pe caniatasid iddynt y fraint hon, hwy a ddysgasent i'w heppil yr unrhyw egwyddorion drygionus a dichellgar ag eu llywodraethir hwythau eu hunain ganddynt; dysgasent iddynt ymladd yn erbyn Duw, ac yn erbyn pob peth arall a fuasai dda, a mawreddog, a gogoneddus. Gwnelai hyn, nid yn unig yr oll o'u heppiledd yn druenus, eithr a fwyhai yn fawr lywodraeth y tywyllwch; a thuag at rwystro yr holl drallodion a'r drygau mawrion hyn, Duw yn ddoeth a ordeiniodd i attal priodas a chynnydd hiliogaeth yn hollol oddiwrthynt.

Mae Duw yn ddigllawn ac yn anfoddlawn gyda chenedloedd drygionus, yr un modd â chydag angylion syrthiedig, ac er ei fod yn goddef iddynt briodi ac amlhau, etto efe a'u dwg hwynt i farn am y pethau hyn; ac a'u cospa hwynt am ddwyn olafiaid i'r byd yn yr oll o'u llygredigaeth a'u drygioni; efe a'u cospa hwynt gyda chospedigaeth ddwyblyg, nid yn unig am eu gweithredoedd drwg eu hunain, ond o herwydd iddynt ddysgu

eu plant yr unrhyw. Rhaid i'w plant oddef fel hwythau, am i'w rhieni feiddio priodi mewn anghyfiawnder. Maent hwy a'u plant yn yr oll o'u cenedlaethau yn parotoi eu hunain i gymdeithas angylion syrthiedig; a chyda hwynt y preswyliant, ac fel hwynthwy a leolir mewn cyflwr nas gallant mwy gael eu goddef i liosogi. Gan iddynt unwaith briodi mewn anghyfiawnder, a dwyn dinystr a thrueni tragywyddol ar eu hâd, ni oddef yr Arglwydd yn hwy iddynt eangu eu llywodraeth o ddrygioni, a rhwymo annedwyddwch a thruenusrwydd wrth eneidiau anfarwol. Bu iddynt fforffetu pob hawl i wragedd ac i gyfraith cynnyddiad, drwy eu camarferiad o'r pethau hyn pan yma yn y bywyd hwn.

Yr oedd holl genedloedd y ddaear yn priodi ac yn rhoddi mewn priodas, tra yr oedd Noah a'i feibion yn adeiladu arch, eithr yr oedd eu holl briodasau yn anghyfreithlawn, ac ni bu iddynt heblaw lliosogi eu holafiaid i'w tori ymaith ac i'w dyfetha oddiar wyneb y ddaear. Ni fu i Dduw gymmeradwyo eu priodasau, ac nid oedd ef foddlawn chwaith gyda hwy na'u plant. Noah a'i feibion oeddynt yr unig bersonau teilwng o wragedd a phlant; hwy eu hunain a feddent hawl ddwyfol i briodi; a hwy eu hunain a feddiannent unrhyw hawl cyfreithlawn ar yr Arglwydd yn rhan eu plant. Gan mwyaf o'r bobl yn nyddiau y Patriarchiaid a dröasant ymaith oddiwrth y gwir Dduw i addoli eilunod; o ganlyniad yr oedd priodasau yr oll o'r fath heb awdurdod, a lliosogid eu plant anghyfreithlawn ar y ddaear i felldithio y ddaear gydag eilunaddoliaeth eu tadau. Dafydd a ddywed, "Y troir y drygionus i uffern, a'r holl genedloedd y rhai a anghofiant Dduw." A allwn ni, ynte, am un foment, dybied fod Duw yn foddlawn gyda lliosogiad y drygionus? A ydyw priodi y drygionus yn boddloni Duw, pan mewn gwneuthur felly nad ydynt ond cynnyddu nifer y rhai y bydd yn rhaid eu bwrw i uffern? Pell oddiwrthym ni a fyddo priodoli y fath ddrygioni i Dduw. Yr hyn a gais Duw gan y drygionus ydyw, yn y lle cyntaf, edifarhau a dyfod yn gyfiawn, ac yna i briodi ac i liosogi olafiaid cyfiawn ar y ddaear: ac os na wnant hyn, byddai yn llawer esmwythach iddynt yn nydd y farn, pe arosent heb briodi, oblegid felly hwy eu hunain a ddyoddefant: ond i fod yn offerynau i ddwyn eu plant eu hunain i ddinystr tragywyddol, a ychwanega yn ddifawr at eu

poenedigaeth. Pwy a all, felly, am un foment, gredu fod gan y drygionus gyfartal hawl gyda'r cyfiawn i sefydliad dwyfol priodas? Pwy a all, gyda gair Duw o'i flaen, gredu y dylai y drygionus liosogi ar y ddaear, a chodi i fyny ymgeisyddion am deyrnas y diafol? Ni all unrhyw berson gredu hyn, ac yntau yn credu y Beibl.

Gwrandawer yr hyn a ddywed y prophwyd Esay yn herwydd plant y drygionus; y mae yn adrodd, "Ni bydd had yr annuwiol enwog byth. Darperwch laddfa i'w feibion ef, am anwiredd eu tadau; rhag codi o honynt a goresgyn y tir, a llenwi wyneb y byd â dinasoedd" (Esay xiv, 20, 21). Yn awr, ai nid llawer gwell a fyddai iddynt beidio a phriodi, nâ bod yn foddion i ddwyn barnedigaethau tymmorol a thragywyddol ar eu plant! Nid yw Duw foddlawn gyda'u hamlhad, sy sicr; pe amgen, ni byddai iddo Ef ddarparu lladdfa i'w plant, i'w hattal rhag llenwi y byd â dinasoedd: pe byddai Ef foddlawn gyda eu lliosogiad, goreu po mwyaf o ddinasoedd a lenwont.

Y Salmydd, wrth siarad am y cyfiawn a'r drygionus, a ddywed, "Y rhai a fendigo efe a etifeddant y tir; a'r rhai a felldithio efe, a dorir ymaith." Ac etto efe a ddywed "Y mae efe (y cyfiawn) yn drugarog, ac yn rhoddi benthyg; a'i had a fendithir. Cilia oddiwrth ddrwg, a gwna dda, a chyfannedda yn dragywydd: canys yr Arglwydd a gâr farn, ac ni edy ei saint; cedwir hwynt yn dragywydd: ond had yr annuwiol a dorir ymaith. Y rhai cyfiawn a etifeddant y ddaear, ac a breswyliant ynddi yn dragywydd" (Salm xxxvii). Fel hyn y gwelwn beth yw amcan yr Arglwydd mewn perthynas i had y drygionus; y maent i'w dyfetha yn llwyr oddiar y ddaear. Nid felly gyda'r cyfiawn; addawodd Duw, nid yn unig yr etifeddant y ddaear yn y bywyd hwn, ond y preswyliant ynddi yn dragywydd.

Dangosasom mewn rhan flaenorol o'r traethawd hwn, fod godinebwyr yn fforffetu eu bywyd yn yr hen amseroedd; y rheswm oedd o herwydd nad ystyrid hwynt yn deilwng o wragedd neu blant i barhau eu henwau yn mhlith y rhai cyfiawn; a chan eu bod yn annheilwng o'r bendithion hyn, yr oeddynt yn annheilwng o fywyd; oddiyna, gorchymynwyd iddynt gael eu dystrywio, fel na allent drosglwyddo eu siamplau drwg i genedl ddyfodol. Ac yr oedd Duw mor anfoddlawn gyda godinebwyr, fel y gwaharddodd i'w holafiaid oddiwrth

fwynhau bendithion ei bobl. Oddiyna y dywedir, "Na ddened basterdyn i gynnulleidfa yr Arglwydd; y ddegfed genedlaeth iddo hefyd ni chaiff ddyfod i gynnulleidfa yr Arglwydd" (Deut. xxiii, 2).

Yr Iuddewon, fel cenedl, oeddynt odinebwyr yn yr amser y dygwyd Cristionogaeth i'w mysg. Geilw yr Iesu hwynt yn "genedlaeth odinebus." O ganlyniad, yr oeddynt wedi fforffetu pob hawl a theitl i gyfodi plant i Abraham. Cymmerent arnynt fod yn had Abraham; ond fforffedasant y teitl hwnw trwy eu drygioni a'u godinebau; am hyny, "yr Iesu a ddywedodd wrthynt, pe plant Abraham fyddech gweithredoedd Abraham a wnaech. O'ch tad diafol yr ydych chwi, a thrachwantau eich tad a fynwch chwi eu gwneuthur" (Ioan viii, 33, 39, 44). Gan eu bod yn blant i'r diafol, fforffedasant bob hawl i'r dwyfol sefydliad o briodas. Yn lle ei fod yn foddlawn gan Dduw iddynt gymmeryd arnynt eu bod yn blant i Abraham, ac i liosogi a gwasgaru eu hiliogaeth, dywedodd yr Iesu wrthynt, "Merched Jerusalem, na wylwch o'm plegid i; eithr wylwch o'ch plegid eich hunain, ac oblegid eich plant: canys wele, y mae y dyddiau yn dyfod, yn y rhai y dywedant, Gwyn eu bod y rhai anmhlantadwy, a'r crothau ni eppiliasant, a'r bronau ni roisant sugn. Yna y dechreuant ddywedyd wrth y mynyddoedd, Syrthiwch arnom; ac wrth y bryniau, Cuddiwch ni" (Luc xxiii, 28, 29, 30). Hwy a fforffedasant y bendithion o wragedd a phlant, ac hyd y nod bywyd eu hunain, o herwydd eu bod yn "genedlaeth odinebus," ac yn orlawn o bob math ar ddrygioni. Cynt y codai Duw o'r "meini hyn i fyny, blant i Abraham," nag i gael y fath gymmeriadau drygionus i roddi iddynt eu hunain briodas a lliosogiad. Pwy gan hyny na all weled fod Duw yn gwneuthur gwahaniaeth mawr rhwng y drygionus a'r cyfiawn mewn perthynas i briodas a lliosogiad y rhywiogaethau dynol? Bwriadwyd y bendithion hyny yn wreiddiol i'r cyfiawn, ac i'r cyfiawn yn unig, ond y rhai drygionus a ddaethant yn mlaen i'w condemniad eu hunain, a hawlio breintiau y rhai cyfiawn; gan ddwyn barnedigaethau tymmorol a thragywyddol ar eu cenedlaethau. Gan hyny, yr hyn y sydd yn fendith i'r cyfiawn a brofir yn felldith i'r drygionus. Tra yr arosodd arch Duw yn mhlith y rhai cyfiawn, dygodd fendithion, a gogoniant, ac anrhydedd, a

llawenydd mawr; ond pan ei chymmerwyd gan y Philistiaid, y rhai ni feddent orchwyl i'w wneuthur â hi, dygodd felldith, a phla, ac anghyfannedd-dra a marwolaeth, ar eu lluoedd lliosog. Felly y bydd i Dduw gospi y drygionus am iddi feiddio hòni hawl i sefydliad dwyfol yr hwn na fwriadwyd ond i'r rhai cyfiawn.

*(I'w barhau.)* *Cyf.* R. Ddu.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Rhybydd.—Dylai y Saint fod yn ochelgar rhag cymmeryd eu twyllo gan ddyeithriaid a fyddo yn tramwy y wlad. Nid er mwyn cael cynnorthwy y rhoddir cymmeradwyaeth i symud o un gangen i'r llall, ond er mwyn cael aelodiaeth. Na wnewch ormod o neb nad ydych yn eu hadwaen, ac nad ydynt wedi cael cymmeradwyaeth eich llywyddion. Mae dynion annheilwng, fynychaf, yn dysgu pethau mawrion, er mwyn twyllo arian oddiar y Saint. Gwrthodwch eu dysgeidiaeth, a chwiliwch eich llyfrau, y rhai a gynnwysant gymmaint ag sydd arnoch eisieu yn bresennol.

Apwyntiadau.—Apwyntiwyd yr Henuriad Wm. Richards i lywyddu Cynnadledd Sir Fôn, yn lle yr Henuriad Wm. Simms; ac apwyntiwyd yr Henuriad W. Simms i lywyddu Cynnadledd Caerfyrddin, yn lle yr Henuriad T. C. Martill, yr hwn sydd i lafurio yn Nghynnadledd Ddwyreiniol Morganwg.

---

Taliadau o Gor. 29 hyd Awst 4.—Pendeulwyn, 13s; Georgetown, 5s; Troedyrhiw, 4s.—Cyfanswm, £1 2s.

Cymmanfaoedd y Gogledd.—Sir Fflint, ar y 14eg o Awst; Sir Ddinbych, ar yr 21ain; Dyffryn Conwy, ar yr 28ain; Sir Fôn, ar y 4ydd o Fedi; a Sir Feirionydd, ar yr 11eg.

Cyfeiriad.—Mr. John N. Jones, near Abbey Tavern, Greenfield, Holywell, Fflintshire.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 7.] AWST 13, 1853. [CYF. VI.

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

*A gynnaliwyd yn Ninas y Llyn Halen Fawr, ar y 6fed dydd o Ebrill*, 1853.

[Parhad o dud. 96.]

*Ebrill* 7, 1853.—Galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Young, am chwarter i ddeg yn y boreu. Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan Erastus Snow. Canwyd.

Y Llywydd YOUNG a roddodd y testun—set o heyrn tân, a wnaed gan y brodyr, allan o'r haiarn brodorol yn swydd Haiarn, hefyd dernyn bychan o fetel, yn edrych fel arian, ar yr hwn nid oedd *aqua fortis* yn effeithio dim, a'r hwn a gafwyd yn ngwaelod y ffwrnais; ac, meddai ef, nid ydym yn ceisio gan neb mwyach i fyned i swydd Haiarn.

BENJAMIN L. CLAPP a sylwodd, "Yr wyf fi wedi bod am beth amser mewn hwyl dra rhyfedd—yn wasgedig fy ysbryd, eithr ni wnaethym ddim yn ddirgel, ac ni chablais enw Duw;" ac efe a ofynodd gan y Saint i faddeu iddo, fel y gallai unwaith yn ychwaneg fwynhau Ysbryd Duw; a diolchodd i Dduw am iddo gael ei geryddu, gan i hyny fod er ei les; yr oedd ef am sefyll yn ei ran a'i le, a mawrhau ei swydd: yr oedd yn teimlo yn well y diwrnod hwnw nag y teimlodd yn y ddwy flynedd ddiweddaf.

Y Llywydd YOUNG a ofynodd i'r brodyr a'r chwiorydd os

gallent ei dderbyn ef i'w ffydd, a'i ddal i fyny yn eu ffydd a'u gweddiau—os gallent, am arwyddo hyny trwy ddyrchafiad dwylaw. Dwylaw i fyny yn gyffredinol, a neb yn wrthwynebus.

Yr Henuriad ORSON HYDE a gyfododd, ac a ddygodd swyddogion yr Eglwys gerbron y Gymmanfa, ac a gyflwynodd Brigham Young fel Llywydd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, ac hefyd ein Prophwyd, Gweledydd, a Dadguddiwr, a'n blaenor yn Israel, yr hyn a gymmeradwywyd yn unfrydol; megys hefyd Heber C. Kimball fel ei Gynghorwr blaenaf, a Willard Richards fel ei ail Gynghorwr, ac hefyd Hanesydd a Chofnodydd Eglwysig Cyffredinol.

John Smith a gymmeradwywyd fel Patriarch yr holl Eglwys.

Orson Hyde a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm y Deuddeg Apostol; a P. P. Pratt, O. Pratt, W. Woodruff, J. Taylor, G. A. Smith, A. Lyman, E. T. Benson, C. C. Rich, L. Snow, E. Snow, ac F. D. Richards, a gymmeradwywyd fel aelodau o'r un Corwm.

John Young a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm yr Archoffeiriaid; a Reynolds Cahoon a G. B. Wallace fel ei Gynghorwyr.

Joseph Young a gymmeradwywyd fel Llywydd Llywyddiaeth y Degau-a-thrugain; a Levi W. Hancock, Henry Herriman, Zera Pulsipher, A. P. Rockwood, Jedediah M. Grant, a B. L. Clapp, fel ei gyd swyddogion.

John Nebeker a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm yr Henuriaid; a James H. Smith ac Aaron Sceva fel ei Gynghorwyr.

Edward Hunter a gymmeradwywyd fel Esgob Llywyddol yr Eglwys; ac N. H. Felt, John Banks, ac Alfred Cordon, fel Esgobion llywyddol a theithiol cynnorthwyol yn mhlith y bobl.

Lewis Wight a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm yr Offeiriaid; hefyd John Groves a George Dockstader, fel ei Gynghorwyr.

McGee Harris a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm yr Athrawon; ac Adam Spires a ddewiswyd yn Gynghorwr iddo yn lle Thomas B. Foy, yr hwn oedd wedi symud i ddyffryn arall; a Ruben Perkins a gymmeradwywyd fel ei ail Gynghorwr.

Return R. Hill a gymmeradwywyd fel Llywydd Corwm y Diaconiaid; Alexander Herron a ddewiswyd yn Gynghorwr yn lle Andrew Burt; ac Oswell Barlow a gymmeradwywyd yn ei swydd fel ail Gynghorwr.

Brigham Young a gymmeradwywyd fel Ymddiriedolwr mewn gofal dros Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf; ac Edward Hunter fel ei Gynnorthwywr.

D. H. Wells a gymmeradwywyd fel Arolygydd y Gweithiau Cyhoeddus; a T. O. Angel fel pen-saer yr Eglwys.

Brigham Young a gymmeradwywyd fel Llywydd y Cwmpeini Ymfudol Parhaus er casglu y tlodion; hefyd H. C. Kimball, W. Richards, W. Woodruff, O. Hyde, G. A. Smith, E. T. Benson, J. M. Grant, D. H. Wells, W. Snow. E. Hunter, D. Spencer, T. Bullock, J. Brown, W. Crosby, A. Lyman, C. C. Rich, L. D. Young, P. P. Pratt, O. Pratt, ac F. D. Richards, a gymmeradwywyd fel ei gynnorthwywyr.

David Fullmer a ddewiswyd i fod yn Llywydd Estynfa Seion, yn lle Daniel Spencer, yn absennol ar genadiaeth.

Eleazer Miller, Heman Hyde, William W. Major, Levi Jackman, Ira Eldredge, John Vance, Edwin D. Wolley, John Parry, Winslow Farr, William Snow, ac N. H. Felt, a gymmeradwywyd trwy un bleidlais fel aelodau o Uchel Gynghor yr Estynfa hon o Seion; gyda'r ychwanegiad o Phinehas Richards, i lanw lle John Kempton, yr hwn sydd wedi marw.

Orson Hyde. W. Woodruff, J. Taylor, E. T. Benson, G. A. Smith, L. Snow, E. Snow, F. D. Richards, J. Young, Levi W. Hancock, H. Herriman, Z. Pulsipher, A. P. Rockwood, J. M. Grant, a B. L. Clapp, a gymmeradwywyd fel Cenadon i bregethu Efengyl Iesu Grist yn nyffrynoedd y mynyddoedd; a J. L. Robinson a ychwanegwyd at y cyfryw lechres.

Y Llywydd Young a rybyddiodd yr holl Uchel Gynghorau, pan fyddo Uchel Gynghor yn cael ei gorffoli mewn unrhyw Estynfa, mai y dyn mwyaf oedranus fydd y Llywydd.

Asahel Perry, o Springville, a bleidleiswyd i fod yn Batriarch yn yr Eglwys.

Charles Hyde, o Ddinas y Llyn Halen Fawr, etto.

James Allred, o San Pete, etto.

Yr Henuriad George A. Smith a alwyd i bregethu "Pregeth Haiarn," yr hwn a gyfododd, gan gymmeryd un o'r heyrn tân

ar yr esgynlawr, a'i ddal uwch ei ben, a gwaeddi "Argraffiad Ystrydebaidd;" ac yna disgynodd i lawr yn nghanol bonllefau y Saint.

Gan i lawer o'r Saint fod yn y tŷ dros bum awr, canodd y côr, "Praise God from whom all blessings flow."

Gweddiwyd gan Lorenzo Snow.

Am ddau o'r gloch, galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Kimball. Canwyd. Gweddiwyd gan yr Henuriad Woodruff. "The earth is the Lord's, and the fulness thereof," a ganwyd gan y côr.

Yr Henuriad P. P. PRATT a ddarllenodd ei Araeth a roddodd y ddoe ar Gonglfaen gogledd-ddwyreiniol y Deml, ac a'i dilynodd â Phregeth.

Canodd y côr "The Hallelujah Chorus."

Gweddiwyd gan F. D. Richards.

Ar ol ymadael, mewn cyfarfod o eiddo y Llywyddiaeth, yr Apostolion, ac ereill, yn y *vestry*, James Allred, Asahel Perry, a Charles Walker Hyde, a ordeiniwyd yn Batriarchiaid yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, gan y Llywyddion Young, Kimball, a Richards.

*Ebrill* 8, *deg yn y boreu.*—Galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Young.

Canwyd. Gweddiwyd gan J. M. Grant. Canwyd.

Y Llywydd KIMBALL a ddywedodd, "Mae genym nifer o Henuriaid ag ydynt wedi eu dewis i fyned ar genadiaethau," ac annogodd hwynt i wneyd eu dyledswydd; pan y cafodd yr Henuriaid canlynol, sef—Israel Barlow, Philemon Merrill, James D. Ross, William W. Major, Daniel Tyler, Albert P. Tyler, Benjamin Ashby, Henry E. Phelps, Lorenzo D. Rudd, Israel Evans, Jesse B. Martin, James Bond, Loren Roundy, Charles A. Foster, John D. T. McAllister, James Carrigan, Willard G. McMullen, Charles R. Dana, a Joseph France, eu dewis i fyned i Lloegr, a bod dan gyfarwyddyd y Llywyddiaeth yn y wlad hono.

Thomas Colborn, i Germany.

Samuel Savary, a Milton Howe, i'r Unol Daleithiau.

Edward D. Wade, a Cyrus Canfield, i China.

Y Llywydd YOUNG a gyfododd, ac a lefarodd fel y canlyn:—Yr wyf am ddraddodi araeth fèr, yr hon, fe

ddichon, a all fyned yn hirfaith, cyn diwedd y Gymmanfa hon.

Mi a roddaf y testun yn awr, a thebygol y galwaf y brodyr i lanw allan y Bregeth. Nis gwn y gallaf eich cyfeirio at y Beibl, am y bennod a'r adnod benodol, er cael gafael yn y testun; eithr gellir rhoddi y testun yn awr, a'r llyfr y cyfeirir ato yn ol llaw.

Y testun yw yr *Etifeddiaeth-fraint.* Er hyny, mi a ychwanegaf at yr Ysgrythyr, cyn yr af yn mhellach yn mlaen â'm sylwadau, ac a ddywedaf, *Yr Etifeddiaeth-fraint yn yr Offeiriadaeth*, canys diddadl yw y cyssylltir hyn â'r testun, ac y dygir ef i'r bregeth.

Yn yr ychydig a ddywedaf fi, ymdrechaf nodi allan y pynciau athrawiaeth, a'r golygiadau cywir i'w myfyrio ac i lefaru arnynt gan y brodyr, canys yr wyf am i'r pwnc hwn gael ei ddeall yn briodol.

O barthed i Deyrnas Dduw, i'r ddaear hon, i'w chorffoliad, i ddygiad allan blant dynion arni, i'r Efengyl neu y gyfraith ragbarotoadol, er eu haddasu a'u darparu, ar ol derbyn eu tabernaclau, i fyned drachefn i bresennoldeb eu Tad a'u Duw, yr oedd yr etifeddiaeth-fraint neu hawl hon yn perthyn, ac y mae yn perthyn etto, ac a berthyna yn dragywydd, i'r mab cyntaf-anedig yn mhob teulu o hiliogaeth Adda.

Deallir hyn oddiwrth y Beibl, nid yn unig gan Saint y Dyddiau Diweddaf, eithr gan y byd Cristionogol hefyd. Iesu Grist, cyntaf-anedig y Tad, o'r gweddill oll o'i blant, ac o'r oll a feddant, yn unig i'w yr etifedd cyfreithlawn. Nid yw hyn ddirgelwch.

Ar ol pasio dros oesau a chenedlaethau plant dynion am oddeutu chwech mil o flynyddau, ni a ddeuwn at y gynnulleidfa bresennol, ac a ddywedwn, mai yr un yw yr etifeddiaeth-fraint yn awr ag oedd yn y dechreuad. Y mae megys ag yr oedd, ac megys y bydd byth, yn oes oesoedd. Yr wyf am i Saint y Dyddiau Diweddaf ddeall hyn ychydig yn well nag y gwnaethant hyd yma. Mi a roddaf i chwi fy rheswm.

Er enghraifft, y mae chwiorydd yn yr Eglwys hon, ag sydd wedi eu hamddifadu o'u gwyr, y rhai a fuont feirw yn llawn ffydd yn yr Efengyl santaidd, ac yn llawn gobaith am adgyfodiad gogoneddus i fywyd tragywyddol. Ymwelir ag un o honynt gan Archoffeiriad, gan yr hwn y ceisia hi hysbysiaeth

o barthed i'w sefyllfa hi, ac eiddo ei gwr. Ar yr un pryd, mae gan y wraig fab yn bump ar hugain oed, yr hwn sydd yn Henuriad yn un o Gorwmau y Degau-a-thrugain, ac yn ffyddlawn yn yr holl ddyledswyddau cyssylltiedig â'i swydd. Mae ganddi hefyd feibion a merched ereill. Hi a ofyna i'r Archoffeiriad hwn pa beth a wna dros ei gwr, ac yntau yn dra chrefyddol a ddywed wrthi, "Mae yn rhaid i chwi gael eich selio i mi, a myfi a ddygaf eich gwr i fyny, a safaf yn ddirprwywr drosto, a dderbyniaf ei gynnysgaethiadau, a'r holl seliadau, allweddau, a'r bendithion, a'r Offeiriadaeth dragywyddol drosto, ac a fyddaf yn dad i'ch plant."

Clywch hyn, famau!! Mae y fam a wnelo hyna, yn cyfwerthu ymaith fraint cyssegredig ei mab. A ŵyr hi hyny? Na ŵyr! Mae hyn wedi ei wneuthur mewn cannoedd o enghreifftiau, er yn ddiniwed ac mewn anwybodaeth, yr hyn sydd yn ei wneyd yn esgusodol. O'm rhan i, yr wyf yn foddlawn i wincio ar anwybodaeth y bobl, a chredaf fod ein Tad Nefol hefyd.

Eithr chwychwi y rhai a wrandewch ac a wneir i ddeall yr egwyddorion gwirioneddol ag sydd yn llywodraethu y mater hwn, ewch o'r lle hwn, a gwnewch ar ol hyn megys y gwnaed mewn dyddiau a aethant heibio, ac, *yn lle bod y plant yn cael eu hyspeilio o'u breintiau cyfreithlawn, y wraig a golla ei phlant, a hwythau a gânt sefyll etto yn eu lle, a'u rhoi mewn meddiant o'u breintiau.* Pa beth sydd i'w wneuthur? Bydded i'r mamau anrhydeddu eu plant. Os oes mab gan wraig, anrhydedded y mab hwnw.

Eithr fe all mam ddywedyd, "Nid yw fy mab i ond pum mlwydd oed. Ni fu genyf ond un mab erioed yn mysg nifer o ferched; yr wyf finnau yn heneiddio, ac mi a allaf farw cyn cael fy selio i'm gwr." Gadewch i'r mab hwna aros hyd nes y byddo yn ddigon hen i weinyddu dros ei dad; ac er y gellwch chwi fyned i'ch bedd, gadewch i'ch mab wneuthur ei ddyledswydd, ac nac hongïanwch byth wrth odrau dyn ag sydd yn gybyddlyd.

Gellwch weled cryn lawer o bersonau cybyddlyd gyda golwg ar *ddollars* a *cents*; y mae yr un mor naturiol i ddynion fod yn gybyddlyd gyda golwg ar eu bendithion crefyddol. Gellwch weled cannoedd o Henuriaid y rhai a ddywedant wrth y chwi-

oerydd, "Deuwch, a selier chwi i mi," gan ymlusgo o amgylch i wneuthur ordinhadau santaidd Duw yn fater o elw i weini i'w tueddiadau cybyddlyd. Hwy a ddywedant wrthych, yr ewch i dragywyddoldeb, ac y cewch eich hunain heb wyr, ac nas gellwch gael dyrchafiad, nas gellwch gael hyn, hyna, neu y llall, oddieithr eich selio iddynt hwy. Yr wyf fi yn rhydd, ac felly yr ydych chwithau. Fy nghynghor i'r chwiorydd yw, *na chymmerwch eich selio i unrhyw ddyn, oddieithr i chwi ewyllysio hyny.* Yr wyf yn dywedyd wrthych chwithau Archoffeiriaid ac Henuriaid, o'r pryd hwn allan, na cheisiwch byth gan fenyw i gael ei selio i chwi, oddieithr ei bod hi am hyny, eithr gadewch y gwragedd gweddwon a'r plant yn llonydd.

Mi a'ch cyfeiriaf at bregeth a draddodais yma y tymmor diweddaf, ar bwnc yr adgyfodiad a'r milflwyddiant, gan ddangos o flaen y bobl y gwaith fydd yw gyflawni yn y cyfnod hwnw o amser. Mae genym o leiaf un fil o flynyddoedd, gan gyfrif tri chant a thrugain a phump o ddyddiau, pum awr, deugain ac wyth o fynydau, a dau-ar-bymtheg a deugain o eiliadau yn y flwyddyn, os wyf yn cofio yn iawn, yn mha rai y bydd Henuriaid Israel yn myned i mewn i Demlau santaidd yr Arglwydd, ac yn gweinyddu dros y fath bersonau â chwi a minnau, y rhai a wnaethom y gwaith y galwyd ni i'w wneuthur yn ein dydd, pa un bynag a oedd yn llawer neu ychydig. Fe fydd cannoedd o filoedd o feibion Jacob i weinyddu yn y Temlau hyn drosoch chwi a minnau. Joseph, Hyrum, y tad Smith, a llawer ereill, a fyddant yno i hyfforddi a llywyddu. Joseph a saif wrth ben yr oruchwyliaeth hon, ac a ddeil ei hallweddau, oblegid nid ydynt wedi eu cymmeryd oddiwrtho; nis cymmerwyd hwynt erioed mewn amser, ac nis cymmerir hwynt byth yn nhragywyddoldeb. Mi a fyddaf yno, os byddaf fyw, neu os byddaf farw. Os byddaf farw, fy mordyr neu fy mhlant a weinyddant droswyf; ni chollaf ddim trwy angeu. Mawrhewch eich galwedigaeth yn yr Eglwys hon; ac mi a sicrhaf y cewch ddyrchafiad mor fawr a chystal ag y gellwch erfyn.

Mi allwn sylwi ar lawer o bethau yn ychwanegol o barthed y mater hwn; ond y mae fod yr Henuriaid yn myned o amgylch gan ddweyd wrth y chwiorydd fod yn rhaid iddynt gael eu selio iddynt hwy, neu nas gallant gael dyrchafiad, yn neillduol, wedi dolurio fy nheimladau. Mor anwybodus yw dynion

felly! Mae hyn i mi megys cysgod. Mae siarad am daro yn hollol ffolineb. Bydded i bob dyn a dynes fawrhau eu galwedigaeth yn Nheyrnas Dduw, ac Efe a gymmer ofal y cawn ni ein dyrchafiad.

Mae chwiorydd yn dyfod ataf ac yn gofyn pa beth a wnant, gan ddywedyd, Mae y brawd A neu B wedi fy nysgu fel ar fel. Maent hwy mor wyllt â'r hydd ar y mynyddoedd. Mae eu drychfeddyliau a'u hamcanion yn anghlod i bob rhith o synwyr da, ac i bob egwyddor o eiddo Offeiriadaeth y nef.

Frodyr, dysgwch i fod yn amyneddgar, ac yn ddarostyngedig i'ch dyledswydd a'ch galwedigaethau mewn bywyd, ac na fyddwch awyddus i bentyru i'ch hunain yr hyn, wedi ei gael, na wyddoch pa beth i wneuthur o hono. Mae ugeiniau o ddynion yn y tŷ hwn, pe gallent bentyru swm annherfynol braidd o aur, na fyddent mewn ychydig o amser yn meddu un ddeim o hono. Mae hefyd ugeiniau o Henuriaid yma, pe cawsent bum cant o wragedd wedi eu selio iddynt, a mil o blant, a wnaent ddinystrio eu hunain, ynghyd â'r rhai hyny a ymarferent hwy unrhyw ddylanwad drostynt. Ni fyddant yn gwybod pa beth i wneuthur o honynt. Yr ydych chwi am gael gwraig arall; eithr a ydych yn gwneyd defnydd da o'r un sydd genych? Mae yn argoel ddrwg i mi pan fyddo ar ddyn eisieu gwraig arall, a'r un sydd ganddo yn barod i'w adael. Os na ellwch gadw y gem sydd genych eisoes, byddwch ochelgar pa fodd y cymmerwch ragor, rhag colli o honoch y ddwy.

Ni fwriadais lefaru yn hir, gan fod hyny yn fy niweidio. Meddyliwyf fy mod wedi rhoi y testun allan o flaen fy mrodyr, yn ddigon eglur iddynt hwy bregethu arno; yr wyf am iddynt egluro y pwnc gerbron y bobl, fel y gallont ei ddwyn gyda hwynt yn eu dealltwriaeth.

Na adewch i mi glywed rhagor o'r "*rhaid i chwi gael eich selio i mi, neu nis gellwch gael dyrchafiad.*" Os caiff dyn weddw dyn da, wedi ei selio, ei phriodi ag ef, gyda golwg i ddal llywodraeth ar, ac yspeilio pob plentyn yn y teulu hwnw o'u genedigaeth-fraint, efe a wel ei gamsyniad. *Nis bydd.* Dywedaf wrthych chwi, fy mrodyr, wyr ieuainc, chwi Henuriaid, Cyfodwch a mawrygwch eich galwedigaeth, anrhydeddwch yr Offeiriadaeth; ac os oes dyn wedi dyfod yn mlaen a phriodi eich mam o dan ddylanwad y fath ddysgwyliad,

TROWCH EF ALLAN O'CH TY, AC AMDDIFFYNWCH EICH GENEDIGAETH-FRAINT.

Yna y Llywydd a eisteddodd i lawr yn nghanol y teimladau bywiocaf o lawenydd, ag a allodd gael ei amlygu gan gynnulleidfa mor liosog.

Yr Henuriad E. Snow a ddilynodd, ar y pwnc o hunanolrwydd a phrynedigaeth.

Yr Henuriad P. P. Pratt a ddygodd dystiolaeth o'r gwirioneddau a draddodwyd gan y Llywydd Young a'i frodyr.

Canwyd. Gweddiwyd gan yr Henuriad John Taylor.

Am ddau yn y prydnawn, galwyd y Gymmanfa i drefn gan yr Henuriad Hyde. Canwyd. Gweddiwyd gan Levi W. Hancock. Canwyd.

Yr Henuriad Taylor a draddododd bregeth ar yr Etifeddiaeth-fraint yn yr Offeiriadaeth.

Yr Henuriad J. M. Grant a sylwodd—Mae y gynnulleidfa hon wedi derbyn cymmaint o ddealltwriaeth ag y gallant drysori; mae y pwnc hwn o enedigaeth-fraint yn anhysbyddadwy, a'r rhodd-ewyllys a adawyd i'r Saint yw yr holl ddaioni yn y nef a'r ddaear. Dylai yr holl Saint edrych ar ol glanhau y tufewn i'w llestri, fel Moroni gynt; a chario allan gyfraith Duw, &c., &c.

Canodd y côr, "Judge me, O Lord," &c. Gweddiwyd gan Levi W. Hancock.

*Ebrill* 9.—Galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Kimball, am ddeg yn y boreu.

Canwyd. Gweddiwyd gan T. Bullock. Canwyd.

Yr Henuriad Zera Pulsipher a lefarodd am y terfysgoedd ag oedd ef wedi myned trwyddynt yn Missouri, ac am Neil Gillium a'i lu yn saethu at garcharorion, pan oeddynt dan wyliadwriaeth; hefyd am y terfysgoedd yn Illinois, a lladdiad Joseph ac Hyrum Smith yn ngharchar Carthage, pan yr oeddynt dan gyngwystl o heddwch, a wnaed gan y Llywodraethwr Ford; ynghyd ag arweiniad y bobl yma i'r Dyffryn hwn, &c., &c.

Yr Henuriad Orson Hyde a lefarodd ar yr egwyddor o santeiddhad, a'r bendithion a roddodd yr Hollalluog i ni, gan roddi darluniad o ddeadell o ddefaid, bugeiliaid, a'u cwn, &c.

Canwyd hymn gan y côr. Gweddiwyd gan Henry Herriman.

Am ddau, galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Young.

Canwyd. Gweddiwyd gan W. W. Phelps. Canwyd.

Yr Henuriad T. Bullock a ddarllenodd fynegiad y Drysorfa Ymfudol Barhaus (yr hwn a nodir yn ol llaw).

Y Llywydd Young a dreuliodd yr amser, gan lefaru ar amryw bynciau, i gael eu cyhoeddi etto.

Canodd y côr "The Spirit of God." Gweddiwyd gan O. Hyde.

*Ebrill* 10.—Galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Kimball, am ddeg yn y boreu.

Canwyd. Gweddiwyd gan P. P. Pratt. Canwyd,

Yr Henuriad P. P. Pratt a draddododd bregeth ar Etifeddiaeth-fraint.

Matthias Cowley a bleidleisiwyd yn unfrydol i gymmeryd cenadiaeth i Ewrop.

Y Llywydd Young a ddysgodd egwyddorion ynghylch amrywiol faterion.

P. P. Pratt a gyfododd drachefn ac a ddywedodd, Mae yn dda genyf i mi bregethu, canys yr wyf yn awr wedi derbyn mwy o oleuni, ac yr wyf yn ddiolchgar am dano.

F. D. Richards—Yr oedd y pethau a lefarwyd wrthym heddyw yn odidog a gwerthfawr, ac yr oeddynt wedi eu rhoddi i ddyben mawr a santaidd. Ac yna efe a ddadleuodd dros hawliau y Drysorfa Ymfudol Barhaus; canys gwaith mawr y dyddiau diweddaf oedd casglu Israel i'r lle y gallont gael eu dysgu yn ffordd iachawdwriaeth.

Canodd y côr "The Hallelujah Chorus." Gweddiwyd gan John Taylor.

Am ddau yn y prydnawn, galwyd y Gymmanfa i drefn gan David Fullmer.

Canwyd. Gweddiwyd gan Evan M. Green. Canwyd.

Yr Henuriad Lorenzo Snow a ddywedodd iddo fod mewn Cymmanfaoedd yn Nauvoo, a llawer o leoedd ereill, eithr na chafodd efe erioed gymmanfa mor ogoneddus â hon; crybwyllodd am yr erlidigaethau ag oedd yr Eglwys wedi myned trwyddynt, ac am fod Llyfr Mormon wedi ei argraffu yn y Danaeg, Ffrengaeg, Italaeg, a'r Ellmynaeg, ac yn y Saesnaeg, ac yn y rhan fwyaf o'r cenedloedd lle yr oedd yr iaith hono yn cael ei llefaru. Yna efe a ofynodd fendith ar y bara, ac a barhaodd—

Mae genym achos i deimlo yn ddiolchgar am y sefyllfa heddychlawn hon, ac nad oes genym i deithio fel o'r blaen, na dyoddef dim mwyach oddiwrth effeithiau gwrthgilwyr. Teimlwyf fod pethau gogoneddus i ddyfod, yn neillduol wrth gael ein danfon ar genadiaethau, i wledydd tramor; a theimlaf i ddywedyd fod cannoedd a miloedd yn awr yn byw yn y dyffrynoedd hyn, y rhai a fyddant byw i fyned a thrigo yn y lleoedd hyfrydol yn Swydd Jackson, y rhai y talodd ein tadau am danynt.

Y Llywydd H. C. KIMBALL a ddywedodd na welodd ef gynnulleidfa fwy drwsiadus erioed yn ei fywyd, gan ei chymharu â sefyllfa miloedd a miliynau yn yr hen wledydd. Achwynodd am rai personau, ag oeddynt am yspeilio y meirw. Yr wyf fi yn gredinwr yn ngeiriau yr Iesu, yr hyn a fesura dyn i'w gymmydog, a adfesurir yn ol iddo yntau drachefn, naill ai yn y bywyd hwn neu y nesaf; a phan wnelo personau ar fai yn Utah, hwy a gospir am hyny. Golygwn dori yr efrau i lawr, a pheidio aflonyddu y gwenith. Damnedigaeth dyn a fydd yn ol y goleuni a'r wybodaeth sydd ganddo. Yn nyddiau Moses, yr oedd pen dyn yn cael ei wahanu oddiwrth ei gorff, pan gyflawnai odineb, a'r fenyw yn cael ei llabyddio i farwolaeth.

L. SNOW a ofynodd fendith ar y dwfr.

Y Llywydd H. C. KIMBALL—Cyn gynted ag y daw yr ymfudwyr i Califfornia i mewn, cewch weled y gwrthgilwyr yn rhedeg atynt, er cynllwynio rhywbeth yn erbyn ein Llywydd; eithr hwy a ddadymchwelir yn eu hymdrechion. Byddwch ufydd a darostyngedig i'r awdurdodau a lywyddant arnoch yn y gwahanol Gangenau, a chwi a fendithir.

Y Llywydd YOUNG—Pe gallai y byd edrych arnom yn ein sefyllfa bresennol, hwy a ddywedent yn ddiau ein bod yn faen tramgwydd. Mae y peirianwaith at wneyd siwgr wedi ei droi drosodd i'r Eglwys. Bwriadwn osod y peirianwaith i fyny ar linell ogleddol y Fferm Eglwysig. Gwna yr Henuriad O. Hyde gymmeryd ei arolygiaeth. Nis gwnawn byth roddi i fyny, nac attal ein gweithrediadau, cyn y gwnawn bob peth a allwn fwyta, yfed, neu wisgo, o'r elfen gynhenid, a gwneyd y ddaear ei hun fel gardd Eden. Ni chawsom erioed o'r blaen Gymmanfa Ebrill mor hyfrydol â hon: ac yr oedd ysbryd dymunol ynddi. Mae yr Eglwys hon yn faen tramgwydd, ac yr oedd Joseph ei hun yn faen tramgwydd i'r genedlaeth hon.

Teimla fy enaid yr holl amser am i Dduw eich bendithio. Pa beth yw yr anghen i ddyn neu fenyw gael unrhyw drafferth? Chwiorydd, os ydych yn dysgwyl i fod yn ddedwydd yn eich tŷ, mae genych i wneuthur y dedwyddwch hwnw eich hun; eithr os ydych yn golygu fod gan rywun i wneyd nefoedd drosoch, chwi a gewch weled eich camsynied: yna byddwch fyw i Dduw, adeiladwch Seion, a llenwch y ddaear â gwybodaeth Duw. Bydded i bob dyn a dynes fod yn Saint, ac yna fe fydd yr iau yn esmwyth.

Yr wyf yn penodi yr ail Sadwrn yn Awst, am ddeg yn y boreu, i fod yn Gymmanfa neillduol, er galw rhai Henuriaid, a threfnu materion; eithr addoedwn y Gymmanfa hon hyd y 6fed o Hydref, 1853. Ac yr wyf yn bendithio pob dyn a benyw yn enw yr Arglwydd Iesu Grist. Amen.

Canwyd. Gweddiwyd gan y Llywydd Kimball.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 27.]

45. Fod ysbrydoedd dynion wedi derbyn addewidion a rhodddion cyn dechreu y byd, a eglurir yn amlwg mewn amryw ranau o'r Ysgrythyr. Yr Apostol Paul sydd yn ysgrifenu fel y canlyn:—"I obaith bywyd tragywyddol, yr hon a addawodd y digelwyddog Dduw cyn dechreu y byd" (Titus i, 2). Addawodd Duw "fywyd tragywyddol." Pa bryd y gwnaethwyd yr addewid hon? Hi a wnaethwyd "cyn dechreu y byd." I bwy y gwnaethwyd hi? Hi a wnaethwyd i ysbrydoedd dynion, pa rai a fodolent cyn dechreu y byd. Ni a gysurwyd ag addewidion Duw pan y preswyliem yn ei bresennoldeb. Gallem y pryd hwnw edrych ar wyneb y Cyntaf-anedig, a'i ystyried Ef megys eisoes wedi ei ladd, neu fel y dywed Pedr, ei fod Ef "yn wir wedi ei ragordeinio cyn sylfaeni y byd" (1 Pedr i, 20). Pan yr oeddem ni yn ein sefyllfa ysbrydol, pob gras neu drugaredd a dderbyniasom, oedd o herwydd Crist. Paul, yn llefaru am Dduw a ddywed, "Yr hwn a'n hachubodd ni, ac a'n galwodd â galwedigaeth santaidd, nid yn ol ein gweithredoedd ni, ond yn ol ei arfaeth ei hun a'i ras, yr hwn a roddwyd i ni yn Nghrist Iesu, cyn dechreu y byd" (2 Tim. i, 9). Yn ol yr

ymadrodd hwn, a'r rhai blaenorol, yr oedd Paul, Timotheus, Titus, ac ereill, yn bodoli cyn dechreu y byd, ac yn y cyn-fodoliaeth hyny, gwnaeth Duw iddynt hwy addewidion o fywyd tragywyddol, ac hefyd rhoddodd iddynt ras yn "Nghrist Iesu." Dywed yr Apostol Paul hefyd: "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a'n bendithiodd ni â phob bendithion ysbrydol yn y nefolion leoedd yn Nghrist: megys yr etholodd efe ni ynddo ef cyn seiliad y byd" (Eph. i, 3, 4). Yn awr, os galwyd yr Apostolion ac ereill "â galwedigaeth santaidd," a'u "hethol yn Nghrist cyn seiliad y byd," ac yn ddiau wedi derbyn grâs yn Nghrist, ac addewid o "fywyd tragywyddol" wedi cael ei wneyd iddynt "cyn dechreu y byd," yna paham y tybir yn anghredadwy, mai yn a thrwy Grist hefyd y derbyniasant faddeuant o'r pechodau a allent fod wedi eu cyflawni yn y sefyllfa gyn-fodawl hono.

46. Os bu yr oll o'r ddwy-drydedd ran pa rai a gadwasant eu sefyllfa gyntaf yn gyfartal ddewr yn y rhyfel, ac yn gyfartal ffyddlawn, paham y cafodd rhai o honynt eu galw a'u hethol yn eu sefyllfa ysbrydol i ddal sefyllfaoedd a swyddau cyfrifol yn y byd hwn, tra nad oedd ereill? Os nad oedd yno neb o'r ysbrydion hyny pa rai a bechasant, paham y cafodd yr Apostolion, pan y bodolent yn eu sefyllfa flaenorol, eu hethol i gael eu bendithio â phob bendithion ysbrydol yn y nefolion leoedd yn Nghrist? Ymddengys fod yr holl frawddegau hyn yn cyflwyno meddylddrych, fod galwedigaethau, dewisiadau, ordinhadau, addewidion, arfaethau, etholiadau, a gosodiadau, wedi cael eu gwneyd cyn dechreu y byd. Yr un meddylddrych sydd hefyd yn cael ei drosglwyddo yn y dyfyniad pa un a wnaethom eisoes o Lyfr Abraham. "Yn awr, yr oedd yr Arglwydd wedi dangos i mi, Abraham, y dealltwriaethau ag oedd wedi eu rheoleiddio cyn bod y byd; ac yn mhlith yr holl rai hyn yr oedd llawer o'r rhai ardderchog a rhagorol; a Duw a welodd fod yr eneidiau hyn yn dda, ac yr oedd efe yn sefyll yn eu canol hwynt; ac efe a ddywedodd, Y rhai hyn a wnaf fy llywodraethwyr; canys efe a safai yn mysg y rhai hyny ag oeddynt ysbrydion, ac efe a welodd eu bod yn dda; ac efe a ddywedodd wrthyf fi, Abraham, Yr wyt ti yn un o honont, ti a etholwyd cyn dy eni." Yn awr, ai nid oes rheswm i gredu, fod yr ardderchawgrwydd neu y rhagoroldeb pa un yr oedd llawer o'r

ysbrydion rhai'n yn ei feddu, wedi ei gyrhaedd trwy ffyddlondeb i achos Duw? Ai nid o herwydd eu cyfiawnder yr oeddynt wedi eu penodi i fod yn llywodraethwyr yr Arglwydd? Pa fodd y daeth Abraham i fod yn un o'r ysbrydion ardderchog a rhagorol? Pa fodd y daeth yr Arglwydd i ethol Abraham cyn ei eni? Pe buasem ni wedi cael ateb i'r gofyniadau rhai'n, ni a gawsem, mae yn debygol iawn, fod Abraham wedi sefyll i fyny yn ddewr dros Fab Duw ar yr amser y torodd y gwrthryfel allan: ac mai o herwydd ei uniondeb a'i gyfiawnder, yr etholodd yr Arglwydd ef cyn ei eni, i ddal awdurdod a gallu yn ei ail sefyllfa, i ddyfod yn dad y ffyddloniaid, ac i fod yn fendith i'r holl genedloedd.

47. Yr holl ysbrydion pan y deuant yma ydynt yn ddieuog, hyny yw, os gwnaethant bechodau erioed, hwy a edifarhasant ac a gawsant faddeuant trwy ffydd yn nyoddefiadau dyfodol yr Oen. Mor bell ag y mae diniweidrwydd yn perthyn, hwy a ddaethant i'r byd hwn yn gyffelyb; ond mor belled ag y mae amgylchiadau yn perthyn, nid ydynt yn gyffelyb. Caniatêir i un dosparth o ysbrydion i ddyfod i'r byd mewn oes pan mae yr Offeiriadaeth a Theyrnas Duw ar y ddaear, ac y maent yn clywed a derbyn yr Efengyl; ereill a ddeuant i'r byd mewn oes o dywyllwch, ac a'u haddysgir mewn athrawiaethau ffol a chyfeiliornus. Rhai a enir yn mhlith pobl Dduw, ac a'u dygir i fyny yn yr iawn ffordd; ereill a enir yn mhlith y paganiaid, ac yn cael eu dysgu i addoli eilunod. Rhai ysbrydion a gymmerant gyrff yn llinach yr had etholedig, trwy yr hon y trosglwyddir yr Offeiriadaeth; ereill a dderbyniant gyrff yn mhlith y negroaid Affricanaidd, neu yn llinach Canaan, hiliogaeth yr yr hwn a felldithiwyd, mewn perthynas i'r Offeiriadaeth. Yn awr, os oedd yr holl ysbrydion yn gyfartal ffyddlawn yn eu sefyllfa gyntaf yn nghadwad y cyfreithiau o honi, paham y lleolir hwynt mewn amgylchiadau mor annhebyg yn eu hail sefyllfa? Paham y gosodir rhai mewn amgylchiadau lle y dysgir hwynt gan Dduw, y deuant yn llywodraethwyr, breninoedd, ac offeiriaid, ac yn ddiweddaf a ddyrchefir i holl gyflawnder gogoniant Nefol; tra yr addysgir ereill mewn pob math o ddrygioni, ac heb byth glywed yr Efengyl, hyd oni chlywant hi mewn carchar wedi angeu, ac yn yr adgyfodiad derbyniant nid gogoniant nefol, ond daearol? Os yw gwobrwyon a chospedig-

aethau yn ganlyniadau gweithredoedd drwg a da, yna yr ymddengys fod yr amgylchiadau drwg a da, o dan ba rai y daeth yr ysbrydion i'r byd hwn, o anghenrhaid yn ymddibynu ar y gweithredoedd drwg a da, pa rai oeddynt wedi eu gwneuthur yn y byd blaenorol. Ein cyflwr pan yr elom i mewn i'r byd nesaf a ymddibyna ar ein buchedd yma. Mewn cyffelybiaeth, yna, ai nid yw ein cyflwr, pan yn dyfod i'r byd hwn, yn ymddibynu ar ein buchedd cyn ein geni? Ai nid yw y gofyniad pa un a osododd yr Apostolion i'r Gwaredwr, o barthed i'r dyn a aned yn ddall, yn dangos yr ystyrient ef yn bosibl i ddyn bechu cyn ei eni? Hwy a'i hystyrient ef yn rhesymol fod i berson gael ei eni yn ddall, megys cospedigaeth am y pechodau pa rai ag oedd efe wedi eu gwneuthur cyn ei eni. Er fod yr holl ysbrydion yn ddiniwed pan y deuant yma, ai nis gall fod yn bosibl eu bod wedi cael maddeuant, ac wedi eu dieuogi ar yr ammod y byddai iddynt ddyfod i'r byd hwn o dan amgylchiadau naill ai ffafriol neu anffafriol, yn ol natur eu pechodau? Ai nid yw preswylwyr ein byd ni, pa rai a gyfodir oddiwrth y meirw, yn gwahaniaethu mewn gogoniant megys ag y mae un seren yn gwahaniaethu oddiwrth y llall? Onid yw yn angenrheidiol y dylent hwy gael maddeuant o'u holl bechodau a'u dieuogi, cyn y gallont dderbyn yr Ysbryd Glân neu un gradd o ogoniant? Ac onid yw amrywiaethau eu cyflwr yn yr adgyfodiad yn ymddibynu ar natur eu gweithredoedd yn y bywyd hwn? Os y rhaid iddynt gael maddeuant, a dyfod yn ddiniwed, cyn y gallont hyd y nod fyned i mewn i deyrnas o ogoniant; ac os pan y maent yn myned i mewn yno, eu bod o dan amrywiaeth mawr o amgylchiadau, yn ymddibynol ar eu gweithredoedd yma, yna ni a allwn, oddiwrth gyffelybrwydd, ymresymu fod yn rhaid i'r ysbrydion gael maddeuant a dyfod yn ddieuog, cyn y gallant hyd y nod ddyfod yma, a phan y deuant, y bydd o dan amrywiaeth mawr o gyflyrau yn ymddibynol ar eu gweithredoedd mewn sefyllfa flaenorol.

48. Er y gall fod llawer o alwedigaethau a gosodiadau mewn sefyllfa flaenorol, perthynol i sefyllfa ddyfodol, etto nid ydym ni yn dychymmygu fod yr Arglwydd wedi gwneyd unrhyw ddeddfau yn trosglwyddo unrhyw un yr hwn a freintir â dyfodiad i'r sefyllfa hon, i ddamnedigaeth neu iachawdwriaeth dragywyddol yn ddiammodol. Y fath olygiad a fyddai yn hollol

wrthwynebol i rediad cyffredinol yr ysgrythyrau. Mae iachawdwriaeth yn rhydd i bawb a gydsyniant â'u hammodau: ond y mae rhyw alwedigaethau, ordinhadau, apwyntiadau, ac awdurdod, perthynol i'r bywyd hwn, pa rai a roddwyd ar ysbrydion cyn iddynt ddyfod yma, a pha rai, yn ddiau, a addawyd iddynt hwy o herwydd eu gweithredoedd da yn myd yr Ysbryd.

*(I'w barhau.)*

*Llanelli.* *Cyf.* D. E. JONES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

O BOB dedwyddwch, mor hyfryd yw cyfeillgarwch ffyddlawn, diysgog, a thyner! Mae yn melysu ein holl ofalon, yn llinaru ein holl ofidiau, ac yn ein cynnorthwyo yn ein holl gyfyngderau; y mae yn feddyginiaeth effeithiol i'n holl gystuddiau.

YR athronyddon a gyfrifent ddoethineb y golud mwyaf, a boddlondeb y dedwyddwch penaf.

NID trysor nac awdurdod sydd yn gwneyd i'r pen na'r galon i fod yn dawel; eithr cydwybod ddirwystr, a symlrwydd annichellgar meddwl tyner.

YR hwn sydd yn ymwrthod â'r byd, sydd mewn meddiant gwastadol o feddwl tawel; ond yr hwn sydd yn dilyn ei bleserau, a gyfarfydda â siomedigaethau ac edifeirwch.

### LLAWNDER HYFRYDWCH.

Bydd fyw, tra 'n fyw, medd un, i hyfryd oes,
Bydd fyw, tra' n fyw, i Dduw medd athraw moes;
Ond ynwyf boed y ddau mewn undeb bri,
Câf hyfryd fyw, O Dduw, tra 'n byw i ti.

---

TALIADAU O AWST 5 HYD AWST 11.—Caerfyrddin, £5; Pontytypridd, 14s 6c; Georgetown, 5s 2c; Ffynnon-Tydfil, (3s 2c, Gor. 24); etto, 6s; etto, 4s 8c.—Cyfanswm, £6 13s 6c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 8.] AWST 20, 1853. [CYF. VI.

## SANTEIDDIOLRWYDD Y RHYW FENYWAIDD

YW

PRIF OGONIANT DAEAROL—GARDD BARADWYS—FFYNNONELL DEDWYDDWCH, A MELYSDER MEL HOLL SEIGIAU BYWYD Y RHYW WRRWYAIDD! DIWEIRDEB BUCHEDD—PURDEB ENAID, A DIHALOGRWYDD BENYW,

A DDYLAI FOD

*Prif gastell gwarcheuol—noddfa ddiangol—Sanctum Sanctorum amddiffyniadol dynolryw,—*

SYDD hunan-eglur i ni; ïe, a *orfodir* ar bob ymresymydd myfyrgar. Oddiwrth y *direswm*, nid ofnwn halogrwydd ar deilwng wrthddrychau ein serch. Mai yn gyferbyniol i'r rheswm, neu y synwyr a fedda dyn, yn y cam-ddefnydd—y llygriad o hono, y peryglir diweirdeb benyw—mai efe yw ei themtiwr a gelyn ei chysur, halogwr ei phurdeb, a llofruddiwr ei hanfarwol enaid, a anturiwn ddangos, brofi, ac *argraffu* ar feddwl y darllenydd. Anturiaeth deilwng o anturiwr galluocach, mae yn wir, o gyd-weithrediad holl ddyngarwyr byd,—testun o orfoledd i angelesau ein daear drwy yr oesau a ddêl, a chydgordiad holl angylion nef. Canys *dyn* yw "*Pren Upas*" yr awyrgylch fenywaidd—efe yw andwyol gorwynt "*sirocco*" i'w rhywiogaeth. Achubwn ef, y *temtiwr*, cadwedig fydd ei *demtiedigion.*—Rhwystrwn yr *achos*, ac ni welir yr *effaith.* Ymresymwn â, argyhoeddwn, rhybyddiwn, perswadiwn, ac *ennillwn* DDYN i

 [PRIS 1*c*.

ymlawenhau ac ymburo ei feddwl, ei *lygaid*, ei *enaid*, ei GALON, a'i WEITHREDOEDD, ac *yna*, y *pryd hyny*, darfydda anlladrwydd o blith y rhywiogaeth fenywaidd ar yr *un pryd!* Os DYN ni *achosa*, yna, ni cheir ef yn ein trefydd, ein gwlad, y *gwledydd*, na'r BYD!

Gwyddom fod o'n rhyw, fyddin a wrthoda ein gosodiad hwn; mwyaf o anghen y frwydr y sydd, ynte. Gwyddom fod yr ymosodwyr yn aml yn ymwingo i'r ochr amddiffyniadol o'r pwnc hwn, gan roi y bai ar y *fenyw*, mai y hi yw "maentynfa" y nwyd, ac Efa demtasiynol ein rhyw! Ond ai gwir hyn? ai amddiffyniadol, pe gwir? A oes un gradd o gyfiawnder ynddo? sydd gwestiwn a ddygir i arholiad manwl yn fuan, a phoblogrwydd yr hwn a'n cymhella, ïe, a'n *symbyla* i'n dyledswydd o fod ei ammheuwr. Naturiol ddigon, mae yn wir, y cyhuddiad hwn i ni, ïe, *naturiol* oedd i'n tad dechreuol esgusodi ei hun, gan ddweyd, "Y *wraig* a roddaist i mi," hono a'm temtiodd. Gwir mewn ffaith, ond ai digon i gyfiawnhau ufydd-dod ein tad iddi? Nage, ebe y gollfarniad arno. Nage, ebe holl ddirywiedig effeithiau ei ymollyngiad ef. Buddugoliaeth, ynte, ebe rhesymeg gymhariaethol, i'r "llestr gwanaf" o'i hiliogaeth yn awr. Nid digonol yr esgusawd, pe caniateid y gosodiad; eithr yr ydym ni yn mhell o gyfaddef, na chredu, fod tueddiad naturiol na chymhelliadau temtiol fwriadol yn y fenyw yn ddechreuol, nac yn annogaethol i'r halogrwydd lleiaf o'i pherson.

Gwir fod benyw wedi ei chynnysgaethu yn greadigol â'r gynneddf hon. Hebddi, amddifad fyddai o un o brif ragoriaethau deniadol ei rhyw—o gymhwysderau anhebgorol rhieinyddiaeth;—hebddi, diffrwyth fyddai i holl gymhelliadau ein creadigol natur; heb y nwyd gyfeiriedig, analluog fyddai i gyflawni prif amcaniaeth cread ei rhywiogaethiad, ei benywaidd gyfansoddiad; yr hyn a'i gwnai yn unigol yn ddigynnydd yn y greadigaeth. Mewn gair, oni bai cynnysgaethiad benyw â'r gynneddf hon, beth ddelai o'n rhywiogaeth ni cyn hir?

Eithr cyfartalwch maintioli, grym, a dylanwad y tueddolrwydd i anniweirdeb, yn nghyfansoddiadau y ddwy rywiogaeth, yn *naturiol*, yn WREIDDIOL, yw y cwestiwn. Tystied natur, tystied yr holl rifres o'i holrheinwyr adnabyddus o honi—onid yw y peiriant cynhyrfiol i'r nwyd yn llai, mewn cyfartalwch, mewn benyw nâ'r gwrryw? *Ydyw*, ebe yr oll o honynt, a'r a

wyddom; ydyw, ebe holl ymddygiadau naturiol y rhyw. A hyn cyd-dystia ei chariadus, fwynaidd, gymmwynasgar, a gostyngedig natur. Os oes a ammheua hyn, aed, chwilied, teimled, a thored y ddadl, ac yna gorfodir ef i gyfaddef fod benyw o dueddiad yn fwy rhinweddol a llai nwydog nâ dyn.

Etto, nid awgrymwn a'r na phecha hithau. Ond cawn destunau syndod yn fynych drwy glywed am rai a gânt gryn enwad ac ymddiried, mewn uchel radd am eu diweirdeb a'u boneddigeiddrwydd, yn dianc yma a thraw gyda rhyw un—gan genedliadau annhymmig, ac yn taflu eu hunain i gôl rhyw anllad-ddyn; ei goddefiadau difeddwl drwg hithau weithiau a ystyrir gan ddihyryn yn awgrymiadau chwantol: ac nid ychydig nac anaml yw y rhai a chwareuant eu carwriaeth rhy fedrus a deniadol i guddio eu hawydd priodasol. O hyn oll, a llawer ychwaneg, beïr benyw, a'i bod hi yn achos o'i chwymp ei hun. Nad beth yw ei ffaeleddau hi, diau fod gwaith llawer, os nad yr oll ag sydd yn ceisio golchi eu hystaeniadau ar gost yr "Efa" a'u temtiodd, mor ofer â'r eiddo y gwrageddos hyny a geisient olchi y negro bach yn wŷn.

Onid allwedd dirgelwch y llwyddiant i swyno serch, ennill cariad, ac ymddiried benyw rinweddol, a'i haberthu ar allor chwant, yw *cyfathrachrwydd rhyfeddol* y briodoledd o *gariad* mewn benyw, a'r ffaith o'r ymddiried a ddyry yn, a'i hawydd i foddhau yr hwn a'i hennilla? Onid deddf ei natur, *rheidiol* i'w chylch, ac *anhebgorol* er cyflawni ei gwaith i eppilio ein rhywiogaeth yw hyn? Caniatäer mai hawdd *wedi* ennill *serch* benyw, yw cael ei pherson; eithr ein gosodiad yw—diysgog hefyd, nad unwaith o fil, nad *un o filoedd*, os BYTHOL, a dreisir cyn yr ennillir ei serch. Tystied y rhai sydd ganddynt dystiolaeth—cyfaddefed y rhai a geisiasant, diwair neu anniwair. A demtiodd purdeb gwyryfaidd chwi erioed i anlladrwydd? A welsoch chwi un erioed yn *gyntaf* i argoeli tueddiad i gnawdolrwydd? Credwn yr ateba cydwybod pob un iddo, na wybu erioed am un, yn amddifad o gariad ato, neu cyn iddo hollol ennill ei serch, a *ymollyngodd* ei hun, llawer llai *cynnyg* ei hun iddo. Ac etto, pe profid un, ïe, fil o'r cyffelyb, ni chondemniai hyny y rhyw fenywaidd o'r bai hwn, oddieithr fod hyny yn greadigol yn eu cyfansoddiadau *cyn iddynt* garu nac "adnabod dyn" erioed. Heblaw bod yn ymosodydd dieithriad,

ni lwydda y temtiwr yn ei orchwyl andwyol unwaith o fil, debygwn, i gael ei ysglyfaeth diniwed i grafangau ei chwant, heb ddichellion a diwydrwydd. Dichon iddi, mae yn wir, wedi unwaith ei gorchfygu ganddo, fesur iddo yn ol yn yr un mesur ag y mesurodd iddi hi; eithr ein hamddiffyniad yw ei *gwreiddiol dueddiad.* Meiddiwch gynnyg iddi foddio chwant yn gyntaf, a hi a brawf wirionedd ein haeriad yn y fan, drwy eich gomedd a'ch casâu, os nad drwy *siol friwedig!* cynnygiwch eofndra anweddus, cyn ennill ei serch, a buan y cewch y gwaethaf.

> "Pob adyn direidyn, drwg,
> Gochelwch rhag ei gilwg."

Nid dim yn fwy a ennyna ei digofaint yn fflam angherddol. Eithr os ei chariad unwaith a geir, yna ei hymddiried i'r graddau hyny, yr hyn yn unig a wna yn oddefol yr hyn o'r blaen a fuasai yn ffiaidd ganddi; un achos o hyn yw ei bod yn taflu mantell ei chariad dros eich ffaeleddau, nad pa mor boenus iddi, ac hefyd o herwydd y ffaith o fod mor naturiol iddi foddhau ac ufyddhau i wrthddrych ei serch ag yw iddi anadlu. Ai o herwydd ei hanallu i wrthsefyll dy demtiad ac ymollwng i'th gais o *diriondeb* (er mai mil gwell fyddai ganddi beidio), y meddyli, O greulon adyn! fod dy eofndra yn foddhaol iddi; ei condemni am anniweirdeb, ac, fel blaidd ar gefn oenig, yr ymruthri ar dy ysglyfaeth! Onid ystyri mai cyfathrachrwydd ei *serch* â'th *enaid*—wrthddrych annheilwng—a swynodd braidd ei haddoliad, ac yna ei goddefiad i bechod, ac nid ei nwyd ei hun. O gariad atat, rhoes i ti allweddau ei chastell cyssegrlan, lle y cadwa y perl anmhrisiadwy—y *diadem* werthfawrocach yn ei golwg, ysgatfydd, o holl fwngloddiau y byd! Coron ei gogoniant! a'th ddwylaw aflan, a yspeili di hi o'i pherlau—o'i holl,—a'i sathru dan dy draed, o herwydd iddi ogwydd ei phen i'w rhoi yn dy gyrhaedd, dan gredu mai ti fuasai ei *hamddiffynydd* iddi? A ladratei oddiarni hi ei harddaf, —ïe, *holl addurniadau* ei rhyw, o herwydd ei diniweidrwydd a'i dymuniad i'th blesio? Os gwnai, druan, cofia dy fod wrth hyny yn llofruddiwr creulonaf i'w dedwyddwch daearol, hyd y nod pe na phriodi hi; os gwnai, dy fod yn rhoi *dagger* yn ei llaw hi er trywanu dy galon, os dewisa! Nac anghofia bythol na elli roi iddi yn ol yr hyn a yspeiliaist oddiarni, na bod yn gyfiawnhaol

am dano! Paham, ynte, ei gwneir? Dwys ystyriaeth o'i fawrddrwg effeithiau amserol, a'th arswydo rhagddo. A'r meddylddrych o'th gyfrifoldeb tragywyddol am dano, a'th waredo rhag chwareu â'r demtasiwn fwy nag ag angeu.

Credwn mai y gamsyniaeth a wneir o'r *briodoledd* o gariad pur, dihalog, a greddfol ein natur am y *nwyd* o chwant, neu gnawdolrwydd, yw y prif, os nad yr *unig* genllif a ysguba ei filoedd yn ddifwriad i'r "*Malotrwm*" dihysbydd, diwaelod hwn. Mai boddio eu nwydau yw un o brif gymhelliadau ein rhyw i'r byd priodasol, sydd rhy eglur i fod eisieu ei brofi. Mewn gobaith o fwynhad cyfreithlawn o'r pleser hwn, gwibia meddyliau hiraethog ein rhyw, drwy ein gwlad, a'r byd, am yr amser, y dedwydd amser, y mwynheir hyn! O dan y dylanwad hwn ein ganwyd—y teimlad hwn a fagwyd ynom trwy esiamplau ac ymddyddanion; ac o herwydd na chynnwysa holl ddoethineb ddynol y byd i ni, na'i grefyddau ychwaith, wersi digonol i'n dysgu beth yw *rheidiol gymhwysderau*, *gwreiddiol ddybenion*, na phwysig *ddyledswyddau* y cyflwr priodasol er ys canrifoedd, "*Am hyny*, halogwyd y ddaear gan ei phreswylyddion." Gorlifodd y ffrwd dros ei cheulanau, a gwywa flodau harddaf ein gwlad. Effeithiau andwyol llywodraeth y *nwyd* ar y *gynneddf* odidog—yr *anianol* ar yr *ysbrydol*, sef y *ddwyfol*, briodoledd gymhelliadol i, a llywodraethol ar, reddfol ddeddfau rhieinyddiaeth, yw testun ein galar, a thestun gofid ein byd. Yma y mae gwraidd y *lawrwydd*, a nytha yn ei gangenau gwenwynig lanaf adar ein daear er ys oesoedd. Ar achlysuron cyfleus cymmerwn ein caib a'n rhaw, a thiriwn o dan ei wraidd er hened yw, ac yna gwelir yn eglur nad *chwant*, ond *pur* a *chywir gariad ysbrydol*—nid *cnawdol*; ond, ufydd-dod i'r *ddwyfol briodoledd* o gariad dilwgr a roed i ni gan ein Duw ydyw, deniadau ac arweinyddion dynolryw i greu bodau anfarwol fel eu hunain! Eisoes profwyd yr egwyddor hon yn hanfodol yn natur benyw! esiampl, ynte, i ddyn. Gwers gywir—tyst ffyddlawn yw; arweinier dynolryw i'w hefelychu yn hyn, hyd nes y ceir ychwaneg o wersi ar yr un peth gan ein Tad o'r nef.

Ond i ddychwelyd, apeliwn at fenyw ei hunan; caiff hi fod ein brawdlys. Olrheiniwch i'ch greddfol dueddiadau, onid ydych yn brofiadol o'r hyn a ddywedwyd? A gamddeallasom eich natur ai peidio? Dywedwch chwi—chwi yw gwreiddyn

y ddadl—barnydd a thyst; cywir hefyd, onide? Pa'm gofyn tyst, nid dirgelwch hyn, ond ffeithiau rhy eglur i'w cuddio. Onid eich awydd i foddio a hapusu eich llithiwr a barodd i chwi oddef iddo ei ffordd, o herwydd eich cariad ato a'ch ymddiried ynddo? Camddefnydd, mae yn wir, o rinwedd—a rhinweddol hyd fai yw hyn; etto, ai chwi *byth* yw yr ymosodydd yn yr eithriadau anniwair pa rai ar un ystyriaeth ond a nodwyd, a barant syndod i chwi eich hunain. Creulon ddyn, a ymbleseri yn ei handwyo? A droi yn fradwr iddi o herwydd iddi ymddiried i ti, hwn, ei *benywaidd* briodoledd hanfodol, sef ei *greddfol gymmwynasgarwch*? O na bai ganddynt lai o'r briodoledd ogoneddus hon, neu fwy o benderfyniad i'w hamddiffyn tra yn nghyrhaedd crafangau anlladwyr! Eithr pa'm y dywedwn hyny wrth y llestr *gwanaf*,

DYN A DDYLAI AMDDIFFYN DIWEIRDEB BENYW!

Ië, yn mhob dull, bob amser, a'i hamddiffyn hyd angeu, os gelwir ef. Beth wnawn yn galw benyw i amddiffyn ei hun rhag dyn! ei harglwydd! ei phen a'i *hamddiffynwr* priodol! Yn ei gôl ef dylai fod ei chastell amddiffynol—dyna ei dinas noddfa briodol. Ai efe a droa yn "ddialydd y gwaed," a'i llofruddio rhwng cyrn ei allor? O! na, gwaeded ei galon ei hun yn gyntaf! Er hyny, nid y'm yn awgrymu lleihau ymdrech benyw yn ei dyledswydd i amddiffyn ei hun, drwy roi mwy o ymddiried yn y dyn; eithr ei rhybyddio i achub ei hun rhag dystryw, drwy beidio rhoi ei *serch* bythol ond yn unig lle y gall gael diogelwch hollol i'w pherson; canys byddai anghen iddi beunydd fod mewn ofn pob dyn, a beunydd ar wyliadwriaeth. A oes eisieu dweyd yn amlycach wrth ddyn na'r hyn a ddywedwyd, Mai *efe*, nid y *hi*, a ddylai fod *amddiffynydd* ei diweirdeb? Oes, y mae eisieu dweyd, a pharhau i ddweyd, nes y gwnelo *dynion*, ac nid *benywod*, alltudio aniweirdeb o'r byd,—o'u natur eu hunain yn gyntaf.—O na bai pob llythyren o'r frawddeg yn *ddiamonds* dysclaeriol o flaen ei lygaid ef nes dallu ei olygon, a'i ddysgu na ddylai roi achos i fenyw amddiffyn ei serch na'i pherson rhagddo. Oni bai efe, wedi unwaith iawn briodi, ni byddai raid iddi, na chyn yr amser iawn i hyny ychwaith. Arweinier ei serchiadau yn iawn drwy osod o'i blaen wrthddrych teilwng, yn ei briodol ddull a'i amser, ac nid un o filoedd a dreisid byth,

meddwn etto. Pan yn addfedu i'r cyflwr priodasol, neu wedi hyny, tra yn hunaniaethol o'i gwr, gwarchaëa *greddfol unigolrwydd* ei chariad o'i hamgylch yn gadarnach tŵr nâ muriau Jerico. Unwaith torer adwyau yn hwn, a'i serchiadau a saethant allan ei gangenau drwy y bylchau a wnaethoch. Gwyrdrowch ei blagurol gangenau, a thorant allan ryw ffordd arall, canys blaguro a wnant, ïe, sydd *raid* iddynt, ni *allant beidio*. Angeu ei hun ni rwystra eu tyfiant, amgen eu trosglwyddo i'w gwreiddiol awyrgylch, a'u planu yn eu paradwysaidd artref lle y gorlwythant eu hunain, fel "pren y bywyd," â ffrwythau tragywyddol. Anhygoel nerth "cariad gwragedd" yn unig a'u haddasa i fod yn wragedd, nac yn famau. Beth a fyddai hebddo? Unigolyn. Ië, gwaeth na hyny, canys byddai yn hollol ddiddefnydd genedliol. O, fel y mawryga y briodoledd hon ei natur! Y cyfaddasrwydd hwn a'i haddasa o ddiwerth i *angyles* ddaearol! O leiaf, ei phriodoleddau hyn a'i gwna yn un o ardderchocaf greaduriaid y Creawdwr cywrain ei hun. A allai hyawdledd angel bortreadu gogoneddusrwydd y cynnysgaethiad benywaidd hwn yn unig? A ydyw "caru ein gelynion" yn debyg i Dduw? A efelychwn ni Ef wrth "dalu da am ddrwg"? Gwelwch hi! ymglyma ei henaid hyd wallgofrwydd am yr adyn a'i dystrywiodd! Gwaëa ei serchiadau anwylaidd am dano—er mor aflan—hyd addoliad braidd. Fel yr *ivy* am y dderwen frigog, ymglyma yn dynach am dano po fwyaf a ysgwyda efe arni; er iddo drwy ddichellion cyfrwys, bradwrus, *uffernol!* wneyd llong-ddrylliad hollol o'i serch a'i pherson; pan y gallesid dysgwyl iddi ymarfogi â dialedd ac yfed gwaed ei galon, gwelir hi yn ei garuaidd gofleidio; yn ymhyfrydu yn ei hapuso hyd y galla, fel pe gwledd i'w henaid yw cael gwneyd rhyw gymmwynas iddo! Nosweithiau hirion o'i wylied yn ei glaf wely nid ystyria ond enyd byr a melysaidd; os galla ei lesoli bywioga ei hysbryd, a llama ei chalon pan ei hadfera! Caua ei chlustiau i'r oll o ddrwg a ddywedir am dano! Dall i'w ffaeleddau, er mor deimladwy â "thywyllwch yr Aifft"; ond selog amddiffyna ef, er mor ddued ei weithredoedd â'r eiddo diafol wedi ymgnawdoli; ïe, a'r rhai hyny yn ei herbyn hi ei hunan hefyd! Ei dyoddefiadau ei hun nid ystyria, amyneddgar dan yr oll, o herwydd mai efe a'u hachosodd! A gara hi ef yn hwy? Gwnaiff! Mae cylymau ei henaid am

dano yn annattodadwy i bawb—iddi ei hunan! Ei feiau y'nt rinweddau, a'i greulondeb yn gariad yn ei golwg. Fel cnewullyn mewn cneuen, cauwyd ei henaid o'i fewn ef, ac ni all ei gael yn ol, ac ni cheisia ychwaith; yn dawel a diddig, ond odid, y goddefa ei holl boenydion!! O fenyw! rhaid cyfaddef mai gwyrthiol yw dy gariad! Beiddiwn angel i dalu mwy o dda am ddrwg nâ thydi!

Eithr os galla benyw garu ei *threisiwr* fel hyn—d——l-ddyn hefyd, beth a fesura hyd, ac a brofa rym ei chariad at wrthddrych *teilwng*, yr hwn a ad-dala iddi yn ol ei phurdeb, ei rhinwedd, ei mwyneidd-dra, a'i chymmwynasgarwch ei hun? Os ymddedwydda efe yn ei gwneyd hi yn ddedwydd, onid aberth byw o honi ei hun a'i holl rinweddau dedwyddol a dafla hithau yn ol i'w freichiau ef? Ië, ebe ei natur yn un llais, ac mor hollol drwyadl a diymwad ag a ddichon dynoliaeth yn ei phurdeb gael, na dychymmygu am dano! "Na ddôs o'm golwg, na chais genyf dy adael," medd ei hymddygiad. Lle yr ai di yr âf finnau, lle yr arosi yr arosaf, a'th bobl dy fydd fy ngwaredigion innau, dy ddedwyddwych fydd fy ymgais; ïe, ti yw fy *nuw*. Daearoli yw gwreiddiol iaith ei henaid wrth yr hwn sydd yn cadw allwedd ei serch, yn fonllef.

Ac yn awr, O ddyn! pa fodd y galli wyrdroi hwn, purdeb ei chariad pêr-lewygol, ac ysgogiad cyfathrachol ei pherson, yn beiriant dinystriol i ti a hithau? Paham yr halogi yr hyn a grewyd i'th les goreu, i fod yn wenwyn angeuol i'w pherson, halogrwydd i'w henaid, ac yn ddystryw i'w holl ragoriaethau angylaidd hi? Caniataer, ddarfod i'w phêrlewygol gariad atat, ei gosod yn dy feddiant, a oresgyni di hi o herwydd y gelli? Onid dy rwystro, yn hytrach na'th annog i wneyd hyny, a ddylai yr ystyriaeth o'i hewyllysgarwch, ïe, pe hyd y nod ei *chymhelliad*, ar y doethaf o resymiadau; sef, deddf ei *natur*, ei dymuniad fydd atat, &c. Na wneler ei gwendid (yn hytrach, prif addurn a choron rhinwedd ei rhyw), yn offeryn marwoldeb iddi, o herwydd y galler gwneyd hyny! Annynol fyddai! Gorfoded y ffaith y gelli ennill ei serch, a thrwy hyny ei pherson, i ti fod yn amddiffynydd i'r naill a'r llall. Annynol fyddit amgen, meddwn. A ammheui? Ymresyma yn gymmariaethol yr egwyddor, a chai wersi gan holl naturiaeth, ïe, y bwystfilod eu hunain! A ruthra y llew cadarn ar yr oenig

diniwed, o herwydd ei allu i hyny? Etto, i'r Rhinoceros, a ddangosa efe y fath hunan-ymwadiad a thrugaredd? Ai "y trechaf treisied, a'r gwanaf gwaedded" yw arwyddair y gallu-og? Onid yn hytrach pan gyffroi y dewr y dyweda, "A'm cyd-radd ymladdaf, ar fy îs-radd ffieiddiaf fuddugoliaeth." Dysga crytiaid ein trefydd, ïe, dysga cŵn ein heolydd, i'r *treisiwr*, eg-wyddor ag sydd yn anghenrheidiol arno, i'w addasu i fod yn mhlith ein rhywiogaeth! Os creulondeb yw poenydio unrhyw greadur methiedig, pa faint mwy creulonach dystrywio gwrth-ddrych ymddibynol ein gofal, a hono ein cyfaill anwylaf, a'r rhagoraf o'n holl fendithion *daearol?* Môr-ladron unwaith a orchfygasant long farsiandiol. Cadben y blaenaf, mewn ang-euol frwydr, a ymgyfarfu ag un o ddewr forwyr yr olaf. Cledd yn nghledd yn hir a nerthol ymegniasant i drywanu â'u cledd galon y llall. Dyrnod anffortunus a dorodd gleddyf y morwr wrth y carn. Diosgodd ei fynwes a gwaeddodd, "Trywana yn awr, canys yr wyf yn dy feddiant." "Na wnaf," ebe y môr-leidr, "tra yr ymleddaist â mi, ceisiais dy einioes; ond yn awr, dy anallu a'th amddiffyna. Yn hytrach na lladd *gelyn* diamddiffyn, myfi a amddiffynaf dy fywyd hyd farw fy hun. Neu cydia mewn cleddyf arall fel y byddi gydradd â mi, ac ymladdaf nes lladd neu gael fy lladd." Analluogrwydd holl naturiaeth sydd noddfa iddynt. A ofala y fam dirion dros ei phlentyn gwaelaf yn fwyaf? a droir o'r ffordd rhag sathru ar falwoden fethiantus? ac a sarna neb fenyw tan ei garnau haiarnaidd, o herwydd ei bod hi yn ei *gyrhaedd*, ïe, wedi ei gosod yno er ei les ef a'i diogelwch hithau? Neu a ystyrir yn gymmaint o fuddugoliaeth i ennill serchiadau benyw (y rhai a gymhella arnat), a thrwy hyny ei hunan? A yspeili di ei phalas o'i berlau drutaf (canys nid yw holl berlau byd ond baw, a'u cymharu â diweirdeb benyw), o herwydd iddi roddi i ti allweddau y porth? Oni orfoda dy feddiant o honynt, dy gyf-rifoldeb am eu diogel gadwraeth? Oni euogi *dy hun* yn fwy nâ hi, pe yspeilit hi? Etto, a ymffrosti di yn gwneyd hyn? Ai dan chwerthin y gwnai uffernol drafodaeth? Wel, chwardda di, crechwena uffernolion mor wawdus wrth dy boenydio am dano ryw dro! Clywir, ysywaeth, fe glywir, *dynion*, fuom agos a'u galw, weithiau yn ymffrostio o'u buddugoliaethau benywaidd, ac yn adrodd eu dichellion a'u cyfrwysdra i hyny mor wawdus,

a mwy echryslon yn ein golwg ni nag yw *pow wow* yr Indiaid, pan gaffont *scalp* (croen pen) dyn gwyn. A hyn, nid yw cyssegr-ladrad, ïe, *nefol*, pe bosibl, i'w gystadlu! Hyd y nod yr ychydig hyny a rwystra cydwybod rhag myned yn mhellach, yn fynych a ânt yn ddigon pell i gredu y gallant fyned yn mhellach; ac yna, a gellweirant am eu buddugoliaeth ar wendid benyw, ac a wawdiant ddiweirdeb y rhyw! O adyn! onid benyw oedd dy fam? a oes neu a fu genyt chwiorydd—*gwraig*? Nac oes, debygid, ac ni ddylai byth fod, tra dyna dy feddwl, o leiaf.

Fenywod, chwiorydd dyngarol, bob amser, yn enwedig tra ceir yn eich plith fodau o'r tueddiad a nodwyd,—gwyliwch ar *foreuaf* arweinyddion eich serch. Gofalwch dros yr eginyn *dechreuol* yn ei darddiad allan, iawn arweiniwch ei *flaguryn* hyd ddedwyddol briodas, a throir picellau gwenwynig y gelyn, ond odid, yn aneffeithiol wrth eich traed. A dueddu ein cymhelliad i lesgâu penderfyniad? Oni symbyla i ymroad drwy ddangos y ffordd i fuddugoliaeth, hawdd ei chyrhaedd? Yn lle ymollwng gyda y llifeiriant i'r llynclyn andwyol, yn ddewr cydiwch yn yr unig rwyf, ac fel hyn rhwyfwch eich bâd yn ddiangol i borthladd. Yn hytrach, dyma y ffordd i gadw eich bâd yn ddiogel ar làn, hyd nes y cewch wynt teg a chyfleu gobeithiol, i gychwyn mordaith dragywyddol o wynfyd a hedd. Dealla eich temtiwr yn eithaf, mai y cwlwm sydd yn cyssylltu eich person wrth eich serch—unig fynedfa eich natur; ïe, gŵyr yn well nâ chwi, efallai, mai yn y fan hon yn unig y dichon roi clwyf marwol i chwi, a chael meddiant o'r allwedd a ddymuna: difeddwl o hyn, gadewir drws eich serch yn ddiglo, neu dadgloir ar ei gais, drwy yr hwn aiff i mewn i halogi—dystrywio y naill a'r llall. O, halogrwydd digyffelyb! Cyssegr-ladrad heb ei ail!

Fenyw! attolwg, manwl-graffa ar, a gofalus wylia dros yr egwyddor hon, fel dy unig ddiogel waredydd. Etto, nid dy waith na'th ffaeledd yw, amgen gwyrdroad dwyfol a hanfodol briodoledd perthynol i'th ryw, ac o ganlyniad dy *ogoniant*, nid condemniad. Na ddigia, gan hyny, o herwydd y gwyddost ac y teimli mai gwir yw. Diystyra ac esgeulusa i'th berygl.

"Eithr paham dadguddio y dirgelwch, a thrwy hyny gwneuthur treiswyr i ddystrywio benywod yn grynswth?" meddir. Ai

ffyliaid anwybodus yw treiswyr? A ddealla y *gamblers* eu celfyddydau yn gywreiniach nag y dealla y rhai hyn bob dyfais dreisiol, a hwn eu "breiniol garden?" Ai cudd yw peth mor amlwg i olygon eryr? Ychydig eofndra yn awr—ychwaneg eilwaith, yn fuan ddysga iddynt y wers hon yn effeithiol. Ond, pa ddyngarwr gwell i'w rhyw nâ'r hwn a amlyga iddi ei ddichellion ef, a'i pherygl hithau? A ddinystriwyd hi erioed ond trwy y ffordd hon?

Ac weithian, O ddyn! cyn terfynu, fel fforchog fellten, aed ein holl apêl i'th galon—â nerth saith taran swnied trwy dy holl enaid. Er mwyn y cariad a feddi at yr hon a'th ymddyg, y chwiorydd a'th hoffant, a'th barch i'r anwylaidd un a ennillaist ei serch a'i henaid, ac er mwyn y diamddiffyn ac angylaidd ryw, gwylia, gofala—hyd farw *ymladda* dros ddiweirdeb benyw, na pwy fydd hi, os cei achos! Etto, pe aneffeithiol yr apeliad hwn—hyd y nod, os nad "ofni Dduw ac na pherchi ddyn," na benyw ychwaith, er dy fwyn *dy hun* diogela ei serch a'i phleser. Os halogedig hi, beth ddaw o'th ddedwyddwch teuluaidd dy hun? Dychwela canlyniadau ei hymollyngiad ar dy ben di yn genllif; *hunan-les*, ynte, a'th gymhella i amddiffyn ei diweirdeb hi. Yn neillduol, gan nad yw hi yn ei threisio ei hun, y beia efe ei *hun*, o herwydd ei gwendidau hi, y "llestr gwanaf." Deng mwy ei euogrwydd ef, o herwydd nad allai ei goresgyn hi heb ddenu ei serchiadau yn gyntaf! Halogi ei pherson, er yn fynydd ei hunan, nid yw ond gwâdd dwmpath i'r hyn yw gwywiad ei serchiadau! darostyngiad ei henaid! Troi ei holl natur, ei rhagoriaethau godidog, a'i holl alluoedd i drosglwyddo i ereill, nac i fwynhau dedwyddwch ei hun—ei holl berffeithderau angylaidd; *oll* yn afluneiddiwch! Ei holl orfoledd yn alar! Melldiged y cnawdol *imp* a'i gwnelo, greulon waith! Erlidier —ie, *alltudied* cacwn ef o gymdeithias ddynol! Diystyredig gan ddyn—ffiaidd gan fenyw fo ei goffadwriaeth! Un pelydr o oleuni cariad na phared wawr ar hir-nos ei enaid du. A phläau yr Aifft ad-daler iddo! Hynodrwydd Cain fo arno! Difäol ddylanwad *samiels* Arabia yw ei sawyr! Wrth yr ysgelerdra hwn, y mae llofruddiad yn ddiniweidrwydd! Sôn am grogi, ei dynghed fo ei *spedu* bythol! Dyfnaf ei wely fydd yn y pydew diwaelod; canys, brwntaf ymdrabaeddodd yn ngwaddod budreddi cnawdoliaeth! Yn uffern gwnaeth ei galon hell—ei *hunan*

pentyrodd ffagodau brwmstanaidd yn eu herchyll bwll yn ben-twr; ei chwant, y *fatchen*,—â'i ddwylaw taniodd y mwdwl yn goelcerth; ei lasaidd fflamiau a lewyrcha ei drem tu draw i'r gagendor—nefolaidd fro y cariad pur a'i diwair bleserau oll—ei hun yn alltud bythol! O amgylch ogylch iddo, fel mur o dân, gwreichiona ei chwant angherddol. Anadl ei enau—haint yw, ei eiriau fagant bla—haloga ei awyrgylch! Yn eigion ffos ei chwant cyweiria ei wely—yno y *myna* ymdrabaeddu. O fewn haiarnaidd dŵr purdan parhaus gwarchaer ef—y drws yn nghlo, a'r allwedd gan angel yn nghadw! I'w le ei hun o'r diwedd cawsom y peryglus un, *gwaethaf* adyn ein daear.—Yn y carchar hwn arosed, tra yn ngharchar ei chwant yr *ymgarchara!*

*Merthyr.* D. JONES.

---

## Y DYDD A DDAW.

MAE dydd rhyfeddol yn agosâu—dydd dïal ein Duw ni—dydd ymweliad Arglwydd y lluoedd â thrigolion y ddaear—dydd gwae i'r annuwiolion—dydd galar ac wylofain—dydd dystryw ac anghyfannedd-dra—diwrnod blin—diwrnod o losgi—dydd i'r cenedloedd yfed o gwpan llidiogrwydd yr Arglwydd, yr hwn sydd eisoes bron yn llawn, ïe, yr hwn sydd ar gael ei dywallt. Ond pwy sydd yn gwybod hyn? Pwy sydd yn derbyn dadguddiadau oddiwrth Dduw, ac yn cael eu golygon wedi eu hagor nes y maent yn gweled tufewn i'r llèn, ïe, a chael gwybod meddwl yr Arglwydd, a'i fwriadau anffaeledig? Ai y byd Cristionogol, sef crefyddwyr yr oes oleu hon? O nage. Efallai fod un o fawrion a doethion eu colegau, meddech. Nac oes un o honynt. Paham? Maent mor oleu yn yr oes hon â dweyd nad oes eisieu dadguddiadau, na phrophwydoliaethau, nac apostolion na phrophwydi, pa rai (yn yr amser gynt) oedd mor anghenrheidiol er arwain eglwys Dduw, fel na fyddai ei haelodau yn bwhwman, ac yn cael eu cylch-arwain gan bob awel dysgeidiaeth. Maent mor oleu ag i ddweyd nad oes eisieu ysbryd y brophwydoliaeth na dadguddiad yn yr eglwys yn awr—y gallant hwy wneuthur hebddynt. Ofer i ni feddwl, ynte, mai hwynt-hwy sydd yn rhagweled y dydd blin sydd yn

dyfod. Pwy, ynte? Neb, ond Saint y Dyddiau Diweddaf, pa rai sydd yn proffesu fod apostolion a phrophwydi yn eu heglwys, a bod yr holl ordinhadau, y bendithion, a'r breintiau yn gyflawn ynddi,—a bod eu harweinyddion, sef yr apostolion, gweision Duw, y rhai sydd â thystiolaeth yr Iesu yn eu meddiant, yn rhagweled yr amser blin sydd yn dyfod ar genedloedd y ddaear, pa rai sydd yn gorwedd mewn llygredigaeth. Darlunia yr Apostol J. Taylor hwy fel y canlyn:—

"Os edrychwn ar genedloedd Cristionogol i gyd gyda eu gilydd, gwelwn ddrych sydd yn wir alarus, darlun truenus o ddynoliaeth dlawd, dirywiedig, a syrthiedig. Gwelwn genedloedd Cristionogol yn erbyn cenedloedd Cristionogol mewn rhyfel, ynghyd â gweinidogion pob un o'r cenedlaethau hyn, yn galw ar Dduw y Cristionogion i roddi y fuddugoliaeth dros eu gelynion i'w cenedloedd hwy! Cristionogion! ac addolwyr yr un Duw!!

"Felly y bu Lloegr Gristionogol yn byddino yn erbyn Ffrainc Gristionogol; Rwssia Gristionogol yn erbyn Prwssia Gristionogol," &c., &c. * * * *

"Cyn y byddai yr amrywiol genedloedd hyn yn dechreu rhyfela, yr oedd eu gweinidogion yn danfon i fyny eu hamrywiol weddiau o flaen yr un Duw; a phe buasai Ef mor benwan â hwy, a gwrandaw ar eu gweddiau, byddent wedi eu dinystrio er ys talm, a'r byd Cristionogol wedi ei ddiboblogi. Ar ol eu gweddiau, byddent yn cyfarfod mewn amryson marwol; yr oedd gelyn yn rhuthro ar draws gelyn gyda grym marwol, ac yr oedd clariwn rhyfel, cledr arfau, a rhuadau magnelau yn cael eu dilyn gan ocheneidiau angeu, aelodau drylliog, galanastra, gwaed, a marwolaeth; a gofid a blinder annhraethadwy, aelwydydd anghyfannedd, gweddwon diamgeledd, a phlant amddifaid. Ac etto, cenedloedd Cristionogol ydynt oll, brodyr Cristionogol, addolwyr yr un Duw. Mae Cristionogaeth wedi llwyddo mwy neu lai er ys deunaw cant o flynyddoedd. Pe caffai hi barhau, a thaenu dros y ddaear, yn ei dull presennol, pa beth a wnelai hi gyflawni?"

Pan ystyriwn, pa ryfedd gweled y byd fel y mae. O amser Abel gyfiawn hyd yr amser presennol, faint o genadon Duw sydd wedi bod yn cynnyg ammodau o heddwch rhyngddynt hwy â Duw? pa faint o weision, prophwydi, a phlant Duw y

maent wedi eu herlid a thywallt eu gwaed, gan ddweyd, "Pe buasem ni byw yn amser ein tadau, ni laddasem ni y prophwydi oedd y pryd hyny? Gwelodd Ioan, o dan yr allor, eneidiau y rhai a laddwyd am air Duw a thystiolaeth Iesu, yn gwaeddi, "Pa hyd, Arglwydd, santaidd a chywir, nad ydwyt yn barnu ac yn dïal ein gwaed ni ar y rhai sydd yn trigo ar y ddaear." Dywedwyd wrthynt am aros ychydig, hyd oni chyflawnid *rhif* eu cyd-weision, a'u brodyr, y rhai oedd i gael eu lladd, megys ag y cawsant hwythau. Nid oedd cwpan yr hen Fabel etto yn llawn, ond pan fuasai, yr oedd hi i gael yfed o hono. Mawr yw amynedd a thrugaredd Duw. Bu mor drugarog at oesolion yr oes hon â danfon ei was, Joseph Smith, ag ammodau o heddwch iddynt; do, a danfonodd gannoedd ereill hefyd, y rhai sydd yn bresennol yn cyhoeddi edifeirwch. Pa fodd y derbyniwyd gweision Duw yn yr oes oleu yma (fel ei gelwir) sydd yn credu y Beibl? Tywalltwyd gwaed gwirion! ïe, gwaed goreu y bedwaredd ganrif ar bymtheg; gwaed prophwyd a phatriarch, a llawer o blant Duw. Am ba beth? Am bregethu y beibl, sef ffydd, edifeirwch, a bedydd er maddeuant pechodau, a gosodiad dwylaw er derbyn dawn yr Ysbryd Glân. Pwy oeddynt y rhai cyntaf i'w gwrthwynebu a thywallt eu gwaed? Crefyddwyr yr oes oleu hon! y rhai sydd yn ddweyd, "Pe buasem ni byw yn lle yr Iuddewon, ni laddasem ni Iesu Grist;" ac ar yr un pryd yn lladd ei weision. O ddallineb doethion y ddaear! Pan yn edrych ar eu sefyllfa, a sefyllfa y byd yn gyffredinol, sydd mor llawn o bob math o aflendid, puteindra, llofruddiaeth, gormes a thrais—y cenedloedd gormesedig sydd yn dysgwyl yn awyddus am ryfel, ac yn ymysgwyd yn barod ati. Ewrop, sydd fel crochan berwedig,—ei thrigolion sydd yn ochain o dan iau gormes,—maent yn barod i'r frwydr. Pwy na ddyweda, O Arglwydd Dduw hollalluog, pa hyd y dyoddefi i Satan deyrnasu? pa bryd y deui allan yn dy ogoniant i amryson â'th elynion—i ddyrchafu a gogoneddu dy saint, a rhoddi mawredd y freniniaeth i bobl y Goruchaf? Ond nid yw cwpan Babilon yn llawn etto! Mae yr hen brophwydi wedi prophwydo am ddinystr yr annuwiolion, ac am y mawr a'r dyeithr waith a wna yr Arglwydd ar y ddaear. Paham na bai doethion y ddaear yn gwybod hyn? Paham y dywedant ei fod yn mhell? Maent yn cysgu, o her-

wydd mae yr Arglwydd wedi tywallt ysbryd trwmgwsg arnynt; a thra y byddant hwy yn gwaeddi heddwch! tangnefedd! gan adeiladu tai a phlanu gwinllanoedd, daw eu dinystr yn ddisymmwyth. Mae yr Arglwydd wedi dweyd na âd iddynt "na gwreiddyn na changen."

Mynych iawn gofynir i'r Saint, "I ba beth yr ydych chwi yn myned i diriogaeth Utah? Paham y mae yr holl filoedd yn ffoi fel colomenod i'w ffenestri? Beth a all hyn fod? Beth sydd yn cynhyrfu pobl y Seintiau hyna! Nid ydynt yn prisio dim am adael gwlad eu genedigaeth, eu hoff berthynasau, a'u cyfeillion hawddgar, ar ol! Rhaid, medd rhai, fod rhywbeth yn bod. Atebaf, mai ufyddhau i alwad Duw y maent, sef "Deuwch allan o honi, fy mhobl i, fel na fyddoch gyfranog o'i phläau hi." Maent wedi derbyn ysbryd y dadguddiad, sef ysbryd y brophwydoliaeth; trwy hwn gwelant beth sydd yn dyfod, a pharotoant erbyn hyny. Yr un Ysbryd sydd ganddynt hwy ag oedd gan Noah i adeiladu arch, Lot i ffoi o Sodom, a Dafydd i ddianc rhag Saul Nid ymddibynu ar yr hyn ddadguddiadau a fuont yr oeddent hwy, ond cael rhai newyddion, yn ol eu hamgylchiadau, megys ag y rhoddwyd hefyd i Joseph a Mair i ffoi â'r Iesu i'r Aifft, a'r hyn a roddwyd i ddyscyblion yr Iesu, a fuasent yn Jerusalem, i ffoi i'r mynyddoedd rhag y Rhufeiniaid. Felly yr un Ysbryd sydd gan y Saint i ymgasglu i Seion, i ddianc rhag y llid a ddaw; ac nid hyny yn unig, ond i gael gweinyddiadau ordinhadau teml yr Arglwydd, a'u cynnysgaethu â nerth oddifry; ac nid ydynt yn ystyried fod yr hyn a roddwyd o'r blaen yn ddigon iddynt hwy, neu buasent wedi syrthio trwy law eu gelynion; ond yr oedd gweledydd ac arweinyddion arnynt, y rhai oeddynt yn cael dadguddiadau gan Dduw; ac felly y maent wedi dianc rhag eu gelynion, a myned i'r lle y dywedodd Duw wrthynt am fyned, er iddynt gael rhwystrau lawer, a gelynion lu. Felly, mae eu Tiriogaeth hardd yn llwyddo, ac yn blodeuo; ac y maent wedi peri i'r anialwch flodeuo fel y rhosyn, er cyflawni geiriau Duw trwy y prophwyd Ezeciel, "A dygaf chwi i anialwch y bobloedd," &c.

Heb ymhelaethu rhagor, terfynaf trwy dystiolaethu wrthych, anwyl ddarllenwyr, mai hon yw eglwys Crist; gwn fod yr ordinhadau a'r bendithion yn gyflawn ynddi, a bod ei hufyddion yn derbyn Ysbryd Duw, sef ysbryd y brophwydoliaeth. Dy-

wedaf hefyd wrth fy mrodyr a'm chwiorydd, ac wrth fy hun; ymdrechwn; amser sobr yw—mawr yw ein cyfrifoldeb,—ac nid bychan yw ein gwaith. Mae eneidiau ein cyd-ddynion ag eisieu eu hachub, ac y mae arnom eisieu casglu defaid yr Iesu i'w gorlan, a'i wenith i'r ysgubor, fel na losger dim o hono gyda yr us. Mae dydd dïal Duw yn agosâu; crynhöwn deulu y ffydd, a ffown rhag y llid. Hyn fyddo ein rhan ni oll, ïe, a channoedd sydd etto heb ufyddhau, yw fy nymuniad yn enw Iesu Grist. Amen.

*Merthyr.* WILLIAM LEWIS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CYFEILLGARWCH yw attyniad hyfryd y galon tuag at y teilyngdod ag ydym yn barchu, neu y perffeithderau yr ydym yn hoffi; a gwna y gwrthddrychau yn barod i wasanaethu er lles, gwybodaeth, rhinwedd, neu ddedwyddwch eu gilydd.

ENNILLA y Saint ffyddlawn fwy o gysur yn eu hadfyd, nag a ennilla eu gelynion yn eu llwyddiant mwyaf.—T. H.

YMDDYGIAD gonest a dihoced yw anrhydedd y natur ddynol; na chasêwch ddim ond yr hyn sydd anonest, nac ofnwch ddim ond yr hyn sydd anfoneddigaidd, ac na cherwch ddim ond yr hyn sydd gyfiawn ac anrhydeddus.

RHINWEDDAU y dyn mewn unigrwydd, ydynt yn fwy hygar nâ holl anrhydedd baldorddus y byd.

---

TALIADAU O AWST 12 HYD AWST 18.—Gorllewin Morgonwg, £5; Caerdyf, 4s 8c; Aberamman, 8s; Georgetown, 5s 1c; Aberdar, 14s; Llanfabon, 4s 1c.—Cyfanswm, £6 15s 10c.

☞ Dymuna y Llywydd Giles hysbysu fod Dan Nicholas, gynt offeiriad o Gangen Cwmrhos, Sir Fynwy, wedi ei ysgymuno o'r Eglwys am ei droseddiadau.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 9.] AWST 27, 1853. [CYF. VI.

## "NA FYDDWCH YN NYLED NEB O DDIM, OND O GARU BAWB EICH GILYDD,"—

SYDD orchymynedig efengylaidd, ac yn deilwng o ystyriaeth Saint yn mhob goruchwyliaeth o honi, ac yn mhob amgylchiad. Nid arian yn unig a waherddir i fod yn ddyledus, gan yr Apostol, yn y gorchymyn rhagorol hwn, ond *pob peth* arall ag a ddichon neb arall ofyn genym. Goruchwyliwr yw dyn ar yr oll a ymddiriedodd Duw i'w ofal; am yr oruchwyliaeth hono y mae yn gyfrifol i Dduw; a'r hwn, yn anghyfiawn, a gadwo yn ei feddiant ei hun, yr hyn beth yn gyfreithlawn a berthyna i arall, pan y galla ei dalu iddo, sydd yn gormesu ar ei gyd-ddyn, trwy ei rwystro i gyfiawn weinyddu yn yr oruchwyliaeth a ymddiriedodd Duw iddo yntau; ac felly y mae y neb a esgeulusa dalu arian, na dim arall a berthyna yn gyfreithlawn i arall, pan y mae yn *alluog* i wneyd hyny, yn gyfrifol i Dduw ac i'w gyd-ddyn, am yr holl ddaioni a allasai y llall wneyd â'r hyn sydd yn ddyledus iddo.

Nid yw echwyna na rhoddi yn echwyn yn waharddedig yn yr egwyddor hon; ond cymhella yr ysgrythyr i roddi benthyg i'r hwn a geisio genym, yn ogystal ag i hwnw dalu yn ol; y mae y naill a'r llall yn rhinweddol yn eu lle priodol. Yr egwyddor yw, na ddylem fenthyca heb *amcanu*, a gwneyd yr *oll a allom* i dalu yn ol, fel yr addawsom, ac fel y dymunem wneuthur o arall i ninnau. Mae eithriadau i reol bendant, mae yn wir; felly yma, dichon y benthyciwr fod yn onest ac

yn gyfiawn, pe na thalai yn ol; o herwydd ddârfod i amgylchiadau oruwch-lywyddu ei dynghed, fel ag i'w analluogi i dalu: nid anallu neb sydd yn ei euogi, eithr o'r ochr arall, y *trosedd* yw, yr anghyfiawnder, sef peidio gwneyd yr *hyn a allo* i ad-dalu; y blaenaf a gymmeradwyir gan Dduw, a phob dynion da;—yr olaf ni all fod yn gymmeradwy gan y naill na'r llall.

"Eithr," ebe y crefyddwr, "y mae dyled arnaf fi er cynnal fy nghrefydd a chario yn mlaen deyrnas Dduw, ac yr wyf mewn dyled i'r byd hefyd—pa un a dalaf gyntaf?" Atebwn, fod yr egwyddor uchod, yn profi y dylai dyn fel goruchwyliwr dros ei eiddo, ad-dalu yn ol ei allu i'r naill a'r llall, fel ag y cymhella cyfiawnder ef i wneyd. Mae yn wir nad ellir hyd yn hyn, adeiladu teyrnas Dduw na chario yn mlaen weinidogaeth ei eglwys, heb gymhorth y rhai a berthynant iddi; teilwng yw i'r gweithiwr, yn y winllan hon, ei fwyd a'i ddillad, fel ag i'r ŷch sydd yn dyrnu gael ei ben yn rhydd i fwyta o'r llafur a ddyrna; ac anaml, os byth, y gwelir y bydol-ddyn mor ormesol â gommedd i'w ddyledwr cydwybodol aberthu yn gyfiawn at gynnal ei grefydd, a'i lledaenu i ereill yn ol cyfiawnder; a phe y caffid un mor gaeth â hyny, nid cyfiawn fyddai peidio talu dim iddo wed'yn, ond prysuro i dalu yr oll, a threio cael y nesaf yn fwy rhesymol; fel, os nad allai dyn, yn yr amser presennol, dalu yr *oll* i'w ofynwr ar y pryd, a chyfranu ei rodd i'w grefydd hefyd, dylai wneyd *cyfiawnder* i'r naill a'r llall. Nid cyfiawn fyddai iddo, o'i ran ef, adael i'w weinidog i newynu, nac i fod mewn eisieu, hyd oni fyddai efe wedi talu yr *oll* i'w ofynwr, fwy nag a fyddai iddo yspeilio ei ofynwr drwy gyfranu yr *oll* i'w grefydd, neu yspeilio y naill ofynwr, drwy dalu yr oll i'r naill, a dim i'r llall ag sydd mor gyfiawn. Nid yw Duw yn gofyn ceiniog o arian neb, at gario ei waith ef yn mlaen, a berthyna yn gyfiawn i ofynwr arall. Ai mwy teilwng yw talu i'r olaf? barned y goruchwyliwr rhwng ei gydwybod a Duw; o herwydd, gwyddom mai y rhyddid a ddymuna y gofynwr hwnw gael gan arall, i gynnal ei grefydd anwyl ei hun, a ddylai efe ganiatâu i'w gyd-ddyn crefyddol, nad beth fo ei grefydd; a chrefydd ddiwerth yw, oni ddysga hi ef i wneuthur i arall fel y dymuna i arall wneuthur iddo ef. Er deall y ddwy ochr i'r egwyddor efengylaidd hon, a chael allan safon ymddygiad, darllener a manwl graffer ar, a *gwneler* fel y dysga ein Harglwydd

yn nammeg y "Brenin a'i weision" (Math. xviii, 23—35). Gwelir mai cyfiawn fuasai i'w Arglwydd werthu yr oll a feddai y gwas hwn, oedd yn ei ddyled o ddeng mil o dalentau; eithr gwelir mor amlwg hefyd, ddarfod i'w ostyngeiddrwydd, a'i onestrwydd yn addaw talu mor gynted ag y gallai, ennill iddo fwy nag a ddysgwyliai, ie, *faddeuant o'r oll.* Dysged pob dyledwr anffodus i'w efelychu; ac er na ddichon iddo fod mor llwyddiannus â hwn bob amser, etto trwy wneuthur felly, teilynga y cymmeriad o ddyn gonest, yr hyn sydd werthfawrocach iddo nâ'r ddyled oedd arno. Dilyner y ddammeg yn mhellach, a chaiff y gofynwr wers mor effeithiol tuag at ei ddyledwr yntau. Pan y dylasai y gwr yna drugarhau yr un fath wrth ei ddyledwr yntau, yr hwn a geisiodd ganddo yr un modd ag y ceisiodd yntau drugaredd ei ofynwr, efe, fel ambell i *fankrupt* twyllodrus yn awr, a roddes y truan tlawd yn y "cwrt bach," ac ni ollynga efe ef allan hyd nes y talo y geiniog olaf, a'r gost hefyd, serch newynu ei deulu a'i grefydd. Yr oedd y feistrolaeth ganddo, sef y gyfraith wladol; â'i holl egni, rhoes ei ffon haiarn hi yn ei llawn bwysau ar gefn y truan, pan y rhoed hi yn ei law ef yn deyrnwialen aur; nid rhyfedd iddi droi yn reffynau haiarn triphlyg, am ei goesau ei hun yn ei garchar tywyll. Oni buasai yn llawer hawddach iddo ef faddeu i'r tlawd, y "can ceiniog," nâ thalu yn ol y "mil talentau" i'w ofynwr ef, tra yn ngharchar? Sicr y buasai, eithr ni choeliai hyny nes yr oedd yn rhy ddiweddar, mwy nag y coelia ei efelychwyr yn awr, ysgatfydd, nes y cânt, efallai, gynnifer o flynyddoedd o garchar ag oedd ddyledus o dalentau. O herwydd na ofyna y gyfraith wladol i'r naill faddeu i'r llall, megys ag y maddeuir iddo ef, dynion ydynt yn chwannog yn eu hawydd i ymgyfoethogi, i anghofio manylrwydd y gyfraith a'u barna yn y byd a ddaw; eithr gwyn fyd yr hwn pryd hyny, a allo ddiolch am iddo faddeu i'w gyd-ddyn yn y byd hwn, a thrwy hyny gael maddeuant ei hun o flaen brawdlys gyfiawn.

Ac wedi talu pob dyledion o barthed i bunnoedd, sylltau, ceiniogau,—dychwelyd pob peth a fenthyciwyd, a chyflawni manylaf ofynion y gyfraith wladol; tra yn agored i'r damweiniau, clefydau, gormes, lladradau, a cholledion mewn mil ffyrdd presennol, diau y ceir digon o deilwng wrthddrychau tosturi ac amgeledd drwy ein gwlad. Eithr ni ddaeth yr amser etto i

gyfoeth gael ei gyfranu i'r haelionus bob amser, eithr y cyffelyb a ddygwydd i'r duwiol ac i'r annuwiol; ac felly y blaenaf sydd agored i'w goddiweddyd gan amgylchiadau anwenog fel yr olaf; pan y bwriadent lywyddu yr amgylchiadau hyny eu hunain yn wahanol, yr hyn a'u harweinia i ddyled ag ni allant oddiwrtho. Wrth y cyfryw, beth a ddywedwn, beth a ddyweda neb yn well, nâ—talwch yn ol eich gallu? ac erfyniwch hynawsedd eich gofynwr, i brofi fod ynoch onestrwydd yn gyfartal i'ch gallu,—eich bod yn ymdrechu gwneyd iddo ef, fel y dymunech iddo ef wneyd i chwi dan y cyffelyb amgylchiadau; a thrwy yr oll, dysgwn wers fawr ein Harglwydd i'w saint, sef —"Nac ewch i ddyled eich *gelynion.*"

Eithr er yr oll a ddywedwyd, nid ydym etto wedi tirio at wreiddyn y pren, namyn chwareu ar hyd ei gangenau, fel pêr gantorion coedwigoedd! Beth ped olrheinid yr holl ffrydiau hyn i'w ffynnonell wreiddiol?—pe gofynai pob dyledwr i'w ofynwr, "Beth sydd genyt tithau a'r nas derbyniaist?" Pwy a daflai y gareg gyntaf? Onid dyledwyr, ïe, *bankrupts* ydym ni oll, yn byw ar ddaioni, yn ymsymud yn awyrgylch, ac yn bodoli ar ddaear a berthyna i'w Chrewr haelionus? Oni weithiodd Efe fwy nâ chwe diwrnod (efallai chwe mil o flynyddoedd!) i addasu y ddaear hon i ni fyw arni? Onid Efe bïa ei choedwigoedd ffrwythoglawn—ei moroedd pysgodaidd—ei hawyr ehedogaidd—ei holl fwngloddiau gwerthfawr, a'i hanifeiliaid ar fil o fynyddau?" A pha beth a dalasom iddo erioed o *rent,* nac o lôg, am yr echwyniaeth oesawl o'r oll a fwynhawn —neb o honom? Pan y galwa Efe ni oll i gyfrif am ein talentau, pwy fydd wedi talu yr oll iddo Ef o'i ddyledion? Heb hyny, pwy feiddia garcharu ei ddyledwr? Carchara y naill ddyn, o herwydd i arall ei garcharu ef; ac felly, "dant am ddant" am dani. Eithr, olrheinier yr egwyddor yn ol y ffordd arall, a gweler pwy a all ddweyd gweddi yr Arglwydd, sef "Maddeu i ni ein dyledion, *fel y maddeuwn ninnau i'n dyledwyr.*" A pha fath dâl a ofyna Efe genym, am yr holl ddaioni a fwynhawn oddiar ei law? "Fy mab, moes i mi dy galon. Câr yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, â'th holl enaid, ac â'th holl nerth, a'th gymmydog fel ti dy hun, canys brawd undad dechreuol yw efe i ti—plant yr un tylwyth ydych chwi oll; gwna i arall fel y dymunit i arall wneyd i ti; cadw fy holl orchymyn-

ion: byddwch un yn mhob peth, a phrofwch eich hunain yn eiddo myfi. A hyn yw yr holl ad-daliad, yr usuriaeth, neu y llôg a ofynaf genych, am oes o roddion, ie, lonaid byd a nefoedd o honynt!" Onid cyfreithlawn ei hawl? A oes a ammheua ei ofyniad? Pwy sydd abl i dalu ei gyfrifon, a chlirio ei lyfrau Ef? Ai tydi gyd-ddyledwr a edliwi i'th frawd anonestrwydd, tra yn *fankrupt* andwyol dy hun!

*Merthyr.* D. JONES.

---

## POB PETH YN CYD-WEITHIO ER DAIONI I'R RHAI SYDD YN CARU DUW.

YN y byd y mae dynion mewn amryw sefyllfaoedd, o'r brenin i'r cardotyn, a phob rhai o'r graddau hyn yn cael eu hamgylchynu gyda channoedd o amrywiaeth amgylchiadau, dymuniadau, meddyliau, a theimladau yn ystod amser ein sefyllfa prawf, o'n mebyd hyd ein bedd. Mae cyfnewidiadau y cymhwysderau uchod, yn gyssylltiedig â'r dyledswyddau a roddir i ni yn bersonol, teuluaidd, a chymdeithasol, y rhai etto sydd yn amrywio yn gyfatebol i'n sefyllfaoedd.

Pan fyddom â'n holl galonau ar gyflawni ein dyledswyddau, yn ol cyfraith ein Tad nefol, yn y fan daw i'n herbyn wrthwyniad, yn hollol annysgwyliadwy, yr hyn fydd, yn ei natur a'i ddyben, yn niweidiol iawn; gall adael ei argraff ofidus arnom er ein llesgâu a'n marweiddio, gwanhau ein ffydd, rhewi ein sêl, symud ein meddyliau, sychu ein serchiadau a'n cariad brawdol, bradychu ein hymddiried, a lladrata ein teimladau anwylaidd, y rhai sydd well genym am danynt nag am ein bara beunyddiol, ac fel y diliau mêl ar ein gwefusau, yn ein calonogi i wasanaethu ein Tad nefol. Yn y sefyllfa hon yr ydym yn ddigalon, ac yn barod i ddweyd, fod y cwbl yn ein herbyn, ac y bydd yn sicr o ddiweddu er ein colled a'n dinystr amserol a thragywyddol.

Pwy o honom, yn y sefyllfa hon, a ddywed fod pob peth yn cyd-weithio er daioni i neb? Mae y dyben o ganiatâd yr Arglwydd i hyn gymmeryd lle, i gyd o'r golwg yn bresennol; ond os bydd ynom ddymuniad, yr hyn yn ddiau a fydd, oblegid nid wyf yn credu y caniatâ ein Tad i un brofedigaeth ddyfod i'n profi, i gymmaint o raddau ag i ladrata ein dymuniadau; os

bydd hyn wedi ei ddwyn oddi arnom, credaf mai y ni o honom ein hunain fydd yr achos. Credaf hefyd, na chaniatâ yr Arglwydd i ni gael ein profi mewn dim a fydd yn ddigon o esgus ger ei fron, i ni esgeuluso ein dyledswyddau.

Pan fyddom yn y gofid mwyaf, yr hyn sydd yn naturiol yn dilyn pob profedigaeth, ac yn canlyn hyn etto ddifaterwch, esgeulusdod, byrbwylldra, ac anystyriaeth; ond nid byth i'r graddau y byddwn yn casâu cariad, cyfiawnder, gwirionedd, &c. Yn yr helbul a'r ymosodiadau mwyaf, byddwn yn dweyd, "Yr y'm yn caru gwirionedd, cyfiawnder, a chariad brawdol; nis gallwn beidio caru y cyfryw, os carwn ein hunain. Ond er ein bod yn caru y rhai hyny, yr ydym yn amddifad o deimlad, ffydd, ac ymddiried i wneyd hyn, o herwydd ein siomedigaeth mewn modd annysgwyliadwy; yr hyn sydd ffiaidd yn ffroenau yr Arglwydd, fel tom mewn ffroenau dyn." Ond, cofiwch, er ei fod felly, gall daioni ddyfod o hono, i'r rhai sydd â'u "hewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd," fel y gall ffrwyth toreithiog, maethus, a blasus, ddyfod mewn maesydd a gerddi, oddiwrth hen dom drewedig, yr hwn sydd yn achos i chwi godi eich trwynau, a chadw eich traed oddiwrtho; ac etto, y mae eich holl ddedwyddwch dyfodol yn ymddibynu arno, mewn cael danteithion iachus; a'r mwynhad o honynt a achosa felys gofio, wedi darfod yr holl ffwdan i gyd. Ac yna dywedwn, fod yn dda genym ein bod wedi gwneuthur fel y gwnaethom, er trwy lawer o ffwdan a phoen: ond ni fu ein holl ymdrechiadau yn ofer—cyd-weithiodd pob peth er ein daioni.

Y mae yn anmhosibl i neb ddangos ei sêl a'i gariad o blaid cyfiawnder, oni bai fod gwrthwynebiad; ac nis gallwn byth ennill parch mewn cyssylltiad ag un cymhwysder, heb ymdrech; ac nid oes lle i ymdrech fod heb wrthwynebiad; o ganlyniad, y mae gwrthwynebiad yn achlysur, neu yn rhoddi cyfleusdra, i ni ryfela, a rhyfela yn rhoddi cyfleu i orchfygu; ac y mae gorchfygu yn dwyn i ni enwogrwydd, anrhydedd, cyfoeth, a gogoniant. Wrth hyn, gwelwn, fod gwrthwynebiadau, a rhyfeloedd yn achlysur i ddyn gael ei berffeithio, yr hyn ni fyddai mewn un ffordd arall, a bod y cyfan er daioni. Cawn enghraifft etto, yn amgylchiad Joseph, mab Jacob: am fod Joseph yn peidio cydymffurfio â'i frodyr, mewn meddwl, gair, a gweithred, cododd ei frodyr yn ei erbyn,—taflasant ef i'r pwll,

a marwolaeth wedi ei selio ar ei ben, gan ei frodyr, ac efallai, nad pell o'i feddwl ei hun hefyd. Ond gan fod Joseph yn cydymffurfio ag ewyllys ei Dduw, yr oedd Ef yn gofalu am dano, fel na chaffai niwed ddyfod iddo. Codwyd ef o'r pwll, a gwerthwyd ef i'r Ismaeliaid, ïe, gan ei frodyr! Wel, dyma ddrwg a phechod ofnadwy yn erbyn Duw, onide? tybied fod angenrheidrwydd am beth fel hyn, i ateb rhyw bwrpas daionus, er dwyn amcanion ac addewidion Duw i amlygrwydd? Digon tebyg, pe na werthasid Joseph i'r Aifft, nas gallasai fod yn *brime minister* i Pharao yno; pe na fuasai felly, digon tebyg na chawsai ffafr yn ngolwg y brenin, i gael ei dad a'i frodyr i lawr ato; pe hwy ni ddaethent, buasent yn aros yn Nghanaan, a digon tebyg y buasent farw o newyn. Yna, byddai addewid Duw i Abraham yn cael ei difodi, a llw y Jehofa yn ddirym; ond trwy i Joseph gael ei fwrw i'r pwll, a'i werthu i'r Ismaeliaid, yr hyn oedd yn ddrwg mawr; er hyny, daeth daioni o hono, er yn ymddangos mor anhygoel ag i fêl ddyfod o asgwrn gên asyn drewedig, do, gymmaint, fel yr achubodd ei dad a'i frodyr; ïe, mwy nâ hyny, sef, trwy hyn y gallai addewid Duw i Abraham gael ei gwirio,—fod ei hâd i fod mor lliosog â'r tywod ar làn y môr, ac i fyw yn dragywydd,—a llw yr Arglwydd fod yn wir, ac i bara byth. Wrth hyn, gwelwn i Joseph gael ei berffeithio, a dybenion Duw ddyfod i'r golwg i'r rhai ag oedd yn ei garu Ef. Gwir y gallasai Duw osod Joseph yn brif arolygwr ar holl wlad yr Aifft, heb iddo gael ei daflu i'r pwll a'i werthu i'r Ismaeliaid; ond cystal gwir â hyny, yw i Joseph gael ei berffeithio yn y modd hyn, a doethineb anchwiliadwy Duw gael ei amlygu.

Etto, nid wyf yn credu y gall un weithred ddrwg a weinyddir tuag ataf, fod yn ddrwg i mi; ond nid yw hyny brawf nad yw hi ddrwg yn ei natur, a'i heffeithiau: pe dywedai rhyw un gelwydd am danaf, efallai y gwnai hyny i rai fy nghasâu, hyd yr amser y deuent i wybod mai celwydd fyddai, yr hyn ddeuai i amlygrwydd ar ol iddo ateb ei ddyben arnaf; ac wedi hyny, byddent yn fy ngharu lawer yn fwy, nâ phe ni fuasai hyny wedi bod. Nid drwg i mi fyddai y celwydd, ynte, ond i'r rhai a'i cynllwynodd. Pe hyn ni fuasai, ni chawswn gyfleu i brofi fy niniweidrwydd, a'm gwirionedd,—hyn a ennillodd i mi ogoniant a chlod.

Dywedaf etto, beth pe cawn fy nhori allan o'r Eglwys, am wneyd ac amddiffyn gwirionedd a chyfiawnder? Addefa pawb mai pechod ofnadwy fyddai hyny; ond credaf y gall da ddyfod oddiwrth hyn i'r rhai sydd am wasanaethu Duw, yr hyn ni allai ddyfod mewn un ffordd arall. Caniatawn fy mod yn Henuriad, ac yn cael fy nhori allan o'r Eglwys, yn yr hon y cefais dystiolaeth. Beth a wnaf yn yr amgylchiad hyn? Byddaf yn gwybod nas gallaf fod yn gadwedig, heb fod ynddi. Wel, mi a gydnabyddaf yr hyn a weinyddwyd tuag ataf yn iawn, ond nid cyn mynu treial teg, mewn ffordd gyfreithlawn. Y mae llawer wedi eu tori allan o'r Eglwys hon yn eithaf cyfiawn, ond nid ydynt yn credu hyny; mae llawer, o herwydd gwrthwynebu anghyfiawnder, wedi myned i droseddiadau yn erbyn Duw, am na fuasent yn myned yn y ffordd a'r rheol iawn; ac y mae hyny wedi achosi iddynt esgeuluso eu dyledswyddau, a throseddu yn warthus yn erbyn rheolau yr Eglwys; a'r canlyniad oedd, digon o deilyngdod i'w tori allan yn gyfreithlawn. Nid wyf yn credu fod yr anghyfiawnder uchod yn achos iddynt gael eu tori allan. Achosiad eu toriad allan oedd, eu geiriau a'u gweithredoedd anghyfiawn eu hunain. Ond y pwnc yw, beth wnaf os torir fi allan yn anghyfiawn? Cydnabyddaf anghyfiawnder yn gyfiawnder, a chymmeraf fy medyddio er maddeuant pechodau, er dyfod yn ol i'r Eglwys; yna byddaf mor ffyddlawn ag y gallaf i gadw fy nyledswyddau. Yn mhen ychydig, efallai, y deuaf yn deilwng i fod yn ddiacon: gweinyddaf yn y swydd hono mor ffyddlawn ag y gallaf; ac yn mhen ychydig wedi hyny, caf fy ngalw i fod yn Athraw, ac yn y blaen hyd nes y byddaf yn Henuriad. Dyma fi yn rhoddi fy ngoruchwyliaeth i fyny i'm Tad nefol. "Wel," ebe rhywun, "colledwyd chwi yn fawr oddiwrth y camwri a gawsoch, sef eich tori allan ar gam." Na, nid felly! credaf fod y cyfan wedi cyd-weithio er daioni i mi. Gofynaf i'm Tad, a gaf fi fod yn golledwr o'r da allaswn wneyd yn yr holl amser y cefais fy absennoli o gyfleu i'w wneyd? "Na, fy mhlentyn," fydd yr ateb, "cyfrifaf yr holl ddaioni a allasit wneyd, yn yr amser y cefaist dy absennoli o gyfleu i'w wneyd, yn beth wedi ei wneyd." "Ië," ebe rhywun, "efallai na wnelai ddim felly." Ond y Tad a ddywed, "Yn gymmaint ag na chefaist gyfleu, o herwydd anghyfiawnder, nis gellir dy farnu, o herwydd geiriau

a gweithredoedd a ddygir i'r farn. Am hyny, fy mhlentyn, mi a gyfrifaf yr oll a allasit ei wneyd, yn beth wedi ei wneyd, gan na chefaist gyfleusdra i'w wneyd." Gofynaf, beth am y gwaith a wnaethym pan yr oeddwn yn ddiacon, athraw, &c. Y Tad a ddywed, "Bydd hyny yn dâl ychwanegol i ti, am dy addfwyndra, dy ostyngeiddrwydd, dy ddewrder, a'th ymdrech i gadw fy ngorchymynion, trwy bob gwrthwynebiadau, ynghyd â'th sêl, a'th barch tuag at fy Offeiriadaeth; ac am dy fod wedi dewis goddef cam, yn hytrach nâ tharo yn erbyn fy Offeiriadaeth, er mai dynion anghyfiawn a'th ormesodd, etto, gan i ti ymddiried ynwyf, a'm cydnabod yn Dduw cyfiawn—wele, yn awr, mae y rhai a'th ormesasant yn cael bod yn gyfrifol i mi am y camwri a wnaethant; a mi a'u cospaf hwy yn ol mesur eu troseddiadau, a dyrchafaf dithau. Wele, mi a'th wobrwyaf di ar dy ganfed, am dy holl golledion! ac y mae bywyd tragywyddol, gogoniant annesgrifiadwy, a choron anniflanedig yn fy Nheyrnas i ti. Ac wele, fy mhlentyn, y mae pob peth yn cydweithio er daioni i ti, ac y mae yr holl ddyoddefiadau a gefaist, wedi bod yn foddion er dy berffeithio; ac y mae fy noethineb anchwiliadwy wedi cael ei amlygu i ti, am i ti gymmeryd dy ddysgu wrth fy Ngair, ac am beidio cymmeryd dy arwain gyda theimladau y natur ddynol, yr hon nid yw yn canfod dyfnderoedd fy noethineb, ynghyd â'm bwriadau anffaeledig." Hyderaf bellach, fod pawb yn gweled fod *pob peth yn cyd-weithio er daioni i'r rhai sydd yn* CARU DUW!

*Merthyr.* CARWR CADW CYNGHOR.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 116.]

49. GAN fod y llinell wahaniaethol wedi ei pharhaus dynu rhwng yr eiddo Michael a galluoedd y Diafol, yr olaf a orthrechwyd ac a fwriwyd i lawr, a'r holl nefoedd a wylasant dros eu cwymp. Desgrifiad o hyn a roddir mewn gweledigaeth a ddangoswyd i Joseph y Gweledydd, a Sidney Rigdon: ni a roddwn yr enghraifft ganlynol: "A hyn a welsom hefyd, ac yr ydym yn dwyn tystiolaeth, i un o angylion Duw, yr hwn oedd mewn awdurdod yn mhresennoldeb Duw, yr hwn a wrthryfel-

odd yn erbyn yr Unig-anedig Fab, yr hwn yr oedd y Tad yn ei garu, a'r hwn oedd yn mynwes y Tad, gael ei daflu i lawr o bresennoldeb Duw a'r Mab, a galwyd ef Colledigaeth, canys y nefoedd a wylasant drosto ef,—efe oedd Lusiffer, mab y wawr ddydd, ac ni a edrychasom, ac wele, efe a syrthiodd! a syrthiodd! hyd y nod mab y wawr ddydd" (Ath. a Chyf. dos. 92, gwa. 3). Wedi i heddwch gael ei adferyd yn y nef, ac i'r oll a arosasant gadw eu sefyllfa gyntaf a gorchfygu Satan, y gwaith mawr nesaf i'w gwblhau oedd, gosod yr ysbrydion rhai'n ar y ddaear newydd mewn pabellau o gnawd ac esgryn, fel y gallent oll fyned trwy resau ereill o dreialon, a chyfarfod â'u gelyn cyffredin ar diroedd newyddion; ac os y ffynent yn yr ail filwriaeth hon a gorchfygu, a goresgyn lluoedd uffern, yr oeddent i gael eu cyfrif yn deilwng o etifeddu pob peth, ac i ddyfod yn gydradd â'u Tad mewn gogoniant, ac mewn nerth, ac mewn gallu, ac mewn llywodraeth.

50. Y babell gyntaf o gnawd ac esgyrn a ffurfiwyd allan o bridd y ddaear. Yr Arglwydd a rydd y desgrifiad canlynol o'i ffurfiad: "A myfi, yr Arglwydd Dduw, a ffurfiais ddyn o bridd y ddaear, ac a anadlais yn ei ffroenau ef anadl bywyd; a dyn a ddaeth yn enaid byw,—y cnawd cyntaf ar y ddaear, y dyn cyntaf hefyd; er hyny, yr oedd pob peth wedi eu creu o'r blaen, ond yn ysbrydol yr oeddwn wedi eu creu a'u gwneuthur yn ol fy ngair" (Cyfieithad ysbrydoledig Joseph Smith). Mae hyn yn cael ei ddesgrifio yn fwy cyflawn yn llyfr Abraham. "A'r Duwiau a luniasant ddyn o bridd y ddaear, ac a gymmerasant ei ysbryd ef (hyny yw, ysbryd y dyn), ac a'i gosodasant ef ynddo, ac a anadlasant yn ei ffroenau ef anadl einioes, a'r dyn a aeth yn enaid byw. A'r Duwiau a blanasant ardd yn Eden o du y dwyrain, ac a osodasant yno y dyn, ysbryd yr hwn a osodasant yn y corff a luniasant." Yr ysbryd cyntaf yr hwn a breswyliodd mewn pabell yma ar y ddaear oedd Michael yr archangel, yr hwn a flaenorai fyddinoedd y nef yn erbyn y lluoedd gwrthryfelgar: am yr hanes hwn, yr ydym yn ymddibynol ar ddadguddiad a roddwyd i Joseph y Gweledydd, fel y canlyn: "Tair blynedd cyn marwolaeth Adda, efe a alwodd Seth, Enos, Cainan, Mahalaleel, Jared, Enoch, a Methuselah, y rhai oll oeddynt archoffeiriaid, ynghyd â'r gweddill o'i hiliogaeth ag oeddynt gyfiawn, i ddyffryn Adam-ondi-ahman, ac yno

y cyflwynodd arnynt ei fendith olaf. A'r Arglwydd a ymddangosodd iddynt, a hwy a gyfodasant i fyny ac a fendithiasant Adda, ac a'i galwasant ef Michael, y Tywysog, yr Archangel. A'r Arglwydd a weinyddodd gysur i Adda, ac a lefarodd wrtho, Yr wyf wedi dy osod di i fod yn ben—lliaws o genedloedd a ddeuant o honot ti, ac yr wyt ti yn Dywysog arnynt dros byth" (Ath. a Chyf., dos. 3, gwa. 28). Mae yn rhesymol, i'r prif Dywysog neu Archangel, wedi iddo osod ei elynion ar ffo, a'u halltudio o'r nef i'r ddaear, i gael bod y cyntaf i ddyfod i'r ddaeaer hon, yn darianawg ac amddiffynedig gan gorff, i ymrwymo mewn ail filwriaeth â'i hen elyn o dan amgylchiadau newyddion, fel mewn amser priod y gallai ef a'i frodyr y rhai oeddynt i ddyfod ar ei ol ef, i fwrw Satan a'i luoedd o'r ddaear hefyd.

*(I'w barhau.)*

*Llanelli.* *Cyf.* D. E. JONES.

---

## LLYTHYR O DDINAS Y LLYN HALEN FAWR, AT Y LLYWYDDION W. S. PHILLIPS A J. DAVIS.

*Dinas y Llyn Halen Fawr, Mehefin* 25, 1853.

ANWYL FRODYR PHILLIPS A DAVIS,—Yn ol fy addewid, yn fy llythyr diweddaf, achubaf y cyfleusdra presennol i roddi rhyw ychydig o hanes ein taith o'r Bluffs hyd y lle hyfryd hwn. Wedi ymadael â'r brodyr Jones, Daniels, Jeremy, ac ereill, y rhai ag oeddwn yn eu hadnabod yn fwy nag oeddwn, aethom yn y blaen i'r daith, a'n calonau yn llawen, gan gnoi ein cîl ar yr ymddyddanion a'r cynghorion difyrus ac adeiladol a gawsom gan y brodyr crybwylledig, gan ddymuno ar ein Tad i'w bendithio oll, yn eu hynt ddaionus, a pheryglus, ar dir, a dwr, ac yn mhlith ein cenedl ein hunain. Wedi cyrhaedd y Mountain Creek, a theithio tua thair neu bedair milltir, penderfynasom orphwys dros y nos, lle yr oedd digon o borfa i'r anifeiliaid. Yr oedd yr haul ar guddio ei ben yn y gorllewin, a mantell y nos yn agosâu, gan annog pawb, ond y gwylwyr, i'w gorphwysfa. Clywem drwst cerbyd yn dyfod yn gyflym cyflym, o ffordd y Ddinas; erbyn hyn, yr oedd pawb a'u llygaid yn edrych beth oedd yn dyfod, ac nid hir bu y gwylwyr

cyn gwaeddi allan, "Cymry o'r Llyn Halen." Nid oedd anghen ail ddweyd, oblegid yr oedd y gair cyntaf wedi treiddio trwom oll, fel yr hylif gwefrol. Nesaodd pawb, gan redeg am y cyntaf i'w cyfarfod. Ac er ein mawr lawenydd, pwy oeddynt ond Thomas Jones, Hirwaen, Morgan Hughes, Pontyates, a William, mab Evan Jones, Heol y Felin, Aberdar. Yr oeddynt wedi dyfod o 30 i 40 o filltiroedd i'n cyfarfod, â llwyth o ffrwythau y Dyffryn, megys *water-melons*, *mush-melons*, *potatoes*, *pickle* cucumerau, winwyn, &c., i'n groesawi. Daethant heibio y gwylwyr i'r gwersyll, yn ol iaith yr hen Gymry, "heb arf noeth i'w herbyn." Rhoddasant yr oll o'u llwyth dan fy ngofal, a chefais y fraint o'i ranu rhwng y brodyr a'r chwiorydd; ac er mai y lleiaf ei ran yw y rhanwr yn gyffredin, cefais ddigon fy hun, a phawb ereill, er ein bod heb brofi y fath ddanteithion trwy yr haf. Nid aethom ddim pellach nâ godrau y mynydd dranoeth. Yr ail ddiwrnod, aethom dros yr ail fynydd, fel ei gelwir yma; erbyn ein bod ar y gwastadedd sydd rhwng yr ail fynydd a'r cyntaf, yr oedd torf o'r brodyr yn ein haros, â'r unrhyw anrhegion ag a gawsom gan y brodyr blaenorol. Enwaf rai o honynt, sef John Parry, Newmarket, a'i fab, Dl. Leigh, Owen Roberts, Thomas James, Cadwaladr Owens, &c., rhy faith eu henwi. Cyrhaeddasom y Ddinas ar y dydd diweddaf o Fedi, oll yn iach, a'n calonau yn ddiolchgar i'n Tad am y fraint. Teithiasom 1130 o filltiroedd, heb ddyn gwaraidd yn meddiannu cwys o'r tir, ond mewn dau fan, sef yn Fort Laramie a Fort Bridger. Yr oedd yr oll, ond a nodais, dan lywodraeth y gwahanol lwythau Indiaidd, a'r *buffaloes*, filoedd o honynt. Nid peth rhyfedd yw gweled pedwar neu bump cant o honynt, yn un dorf yn dyfod i'r afon Platte i gael dwr. Lladdasom bump o honynt ar ein taith: y mae eu cig yn debyg, o ran ei chwaeth, i gig eidionau Cymru; nid oes anghen halen i'w gadw rhag drewi; gwna ei sychu yn ngwres yr haul ateb yr un dyben, ag a wna halen yna, ond yr halltu. Mae yr Indiaid yn bobl gariadus, os ymddygir yn gariadus tuag atynt hwy. Un diwrnod, dygwyddodd i mi yn ddiarwybod, ddyfod i blith oddeutu tri neu bedwar cant o honynt, sef y Soix; yn ol fy arfer, yr oeddwn yn marchogaeth o flaen y gwersyll, i edrych yr heol, ac am le cysurus i giniawa; ac wedi blaenu y gwersyll am tua dwy filltir, gwelwn ddau o honynt

yn dyfod nerth traed eu ceffylau i'm cyfarfod; am a wn i nad oeddwn yn debyg i'r brenin Harri, yn barod i ddweyd, "*Kingdom*," nid "*for a horse*," oblegid yr oedd un da danaf, ond "*for being in camp*." Yr oedd yn rhy ddiweddar i droi yn fy ol, yn mlaen oedd oreu myned, ac nid hir y bu eu mawrhydi Indiaidd a minnau cyn cyfarfod â'n gilydd, gan fy nghyfarch, "*How do, Mormon good.*" Meddyliais erbyn hyn, nad oeddynt cynddrwg ag oeddwn yn credu; aethym yn mlaen rhwng y ddau *chieftain*, y rhai oedd yn eu rhwysgfawredd llywodraethol, nes cyrhaedd eu gwersyll, yr hwn oedd tua milltir a hanner o'r fan lle y cyfarfuasom â'n gilydd: eu gwersyll oedd wedi cael ei osod ar ddull astronomyddol, yn ol fy nhyb i; yr oedd eu *tent* mwyaf yn y canol, a llun yr haul wedi ei dynu o rywbeth coch, yr un fath ag y gwelir yn yr hen wlad, a'r lleill a lluniau nad oeddwn yn eu deall, yr hyn a ddygodd i'm cof eiriau y prophwyd, fod "pobl yn addoli yr haul," &c., gan fod yn hollol anwybodus o'r "gwir a'r bywiol Dduw." Ymddygasant yn eithaf boneddigaidd tuag ataf. Taenodd eu mawrhydi eu gwrthbanau ar y llawr, gan wneyd amnaid i mi eistedd i lawr, er cael ysmocio, yr hyn a alwent yn "*pipe of peace*," fel y deallais trwy y cyfieithydd Huntington. Y dull yw, fod pibell rhwng pob cwmni, fel y mae *jwg* swllt yn nhafarnau yr hen wlad, rhwng y cwmni a berthynant iddi, a phob un yn yfed yn ei dro; felly mae y bibell yma, y *chief* a dyna ddau neu dri mwgyn, ac yna ei hestyn i'r nesaf, ac yn y blaen ar gylch, nes y byddo y blaenor yn ei chael drachefn. Y mae gwrthod cyd-eistedd i ysmocio, yn arwydd yn eu plith, fod cenfigen yn y sawl a wrthoda. Wel, frawd Davis*, pa fodd yr ymdarewch os gelwir *chwi* at y bibell? hyderaf fod y brawd Phillips fel finnau heb anghofio, ac y gwna y tro. Pan ddaeth y gwersyll, gwnaethom gasgliad iddynt, megys llwyaid neu ddwy o siwgr, teisienau, &c., a derbyniodd eu mawrhydi ein rhoddion. Yna cychwynodd ein gwersyll, a minnau wedi ysgwyd dwylaw a siarad, a chael awgrymiadau nad oeddwn yn ddeall, a ganlynais y gwersyll. Yr oll a ddeallais o'u siarad oedd, "*Good Mormon*," a "*swap pongo*." Er fod y bechgyn cochion, er dim a welais ar y daith, yn ddigon diniwed, etto nid wyf yn dweyd na wnant ladrata, os cânt gyfleusdra; ond gallaf ddweyd cymmaint â hyn, ein bod

* Ateb: Gwnaf ben y bib yn simnai, ac nid fy nheg.—J. D.

wedi myned heibio i filoedd o honynt, pan oedd rhai yn cysgu yn ein gwersyll, ac ni ladratawyd dim arnom ni, na chynnyg un sarhad i neb o honom. Ac er fod y daith yn faith, nid wyf yn ei hystyried ond difyrwch bob cam o honi; felly yr oedd i mi, ac felly y mae i bawb sydd yn hoff o syllu ar ryfeddodau anian, a gweled rhywbeth newydd bob dydd.

Gan fy mod wedi gauafu un tymmor yn y Ddinas, dichon y byddai ychydig o'n hanes yn foddhaol. Mae y dref wedi ei gosod yn heolydd union, i'r gogledd a'r deau, ac i'r dwyrain a'r gorllewin yr un modd; mae y tir yn ysgwâr, neu "block," fel ei gelwir, a deg erw o dir o dan bob block. Hyd y dref yw, o ddwy i dair milltir, ac oddeutu dwy filltir o led. Mae yma adeiladau gwychion: mae Ystôr-dŷ yr Eglwys oddeutu 190 troedfedd o hyd, ac yn dair llofft o uchder, ac wedi ei gwblhau yn y modd ardderchocaf; y Cynghor-dŷ, a'r Neuadd Gymdeithasol, ydynt adeiladau gorwych, heblaw adeiladau gwychion ereill sydd ar waith. Yr ydys yn bwriadu gosod cant o seiri meini, i weithio ar y mur sydd i amgylchynu y Deml, yr haf hwn. Heolydd y Ddinas ydynt 130 troedfedd o led, a choed wedi eu planu rhwng y ffordd draed a ffordd y cerbydau, ac y mae dwfr yn rhedeg gyda phob heol, a lleoedd i'w droi allan yn ol ewyllys y trigolion. Mae y gwastadedd, ar ba un mae y Ddinas, oddeutu 30 milltir o led, a 200 o hyd, a mynyddoedd yn ei gylchynu o bob tu; ac y mae eira ar gopäau y mynyddoedd yn awr, a dywedir wrthyf ei fod yno dros y flwyddyn; ac y mae yr olygfa yn hardd i edrych arno. Mae godrau y mynyddoedd yn llwythog o lysiau a blodau, a'u brig fel llenllian wèn wedi ei gosod ar fwrdd gwyrdd; a'r Llyn Halen wrth eu godrau, mewn rhai manau, yn debyg i wydr tryloyw. Pan fyddo yr haul ar guddio ei wyneb yn y gorllewin, y mae yn adlewyrchu ar yr eira, y dail, y blodau, a'r dwfr, ac mae yr olygfa yn hardd tuhwnt i ddesgrifiad. Nid llawer o eira sydd yn disgyn yn y Dyffryn; mae yr anifeiliaid segur yn gallu byw trwy y gauaf ar y gwastadedd. Mae sylfaen y Deml bron cael ei chwblhau; gosodwyd y pedwar conglfaen yn Ebrill diweddaf, a meddylir yn awr y bydd yr adeilad yn barod yn mhen tair blynedd.

Wele yn canlyn ddernyn o lythyr y brawd Jones at yr Esgob Hunter:—

"Anrhydeddus Esgob Hunter,—Y mae llawer o'm cydgenedl yn dyfod drosodd yn y 13eg dosparth; nis gwn eu helynt, dichon y bydd eu harian a'u hymborth yn brin. Os felly, pan ddelont i'r Dyffryn, byddaf yn ddiolchgar i chwi am wneyd i fyny eu hanghenrheidiau, trwy law y brawd Morgans, ac mi a dalaf i chwi yn Manti, Dyffryn San Pete.

Ydwyf, &c.,

D. JONES."

Rhoddodd y brawd Jones y llythyr yna i mi ar làn afon yr Arth, ac nid buan yr anghofiaf ei ofal tadol am ei gydgenedl; ac yr wyf droswyf fy hun a'm gwersyll, yn talu y diolchgarwch gwresocaf i'm brawd a'r gwron Jones, er na fu dim anghen ar neb o honom. Yr wyf wedi bod yn Manti yn ddiweddar; yr oedd Jane a'r ferch fach yn iach, ond fod Jane yn dysgwyl ei thymp bob dydd. Y mae y Cymry ag sydd wedi dyfod i'r Dyffryn, er dechreu yr ymfudiad hyd yn awr, oll yn fyw ac iach, ond pedwar, sef gwraig D. Phillips, Jane Morgan, Caerdyf, Lucy, gwraig Cadben Evans, Lanelli, a Mary Ann, gweddw George Davis, Rymni; y ddwy olaf ar enedigaeth plant, Jane o'r cancr, ond nis gwn beth oedd clefyd y chwaer Phillips, yr oedd hi wedi marw cyn i mi ddyfod i'r Dyffryn. Mae pob peth yn myned yn y blaen yn llwyddiannus yn y dyffrynoedd hyn, a'r ddaear a'i chnwd yn doreithiog. Bydd peth gwenith yn cael ei dori yr wythnos hon. Os daw dyn diwyd yma heb un swllt yn ei logell, bydd mewn tair blynedd yn hunan-ymddibynol, os na ddygwydd ryw anffawd iddo. Mae digon o waith i'r sawl sydd heb anifeiliaid, ar y Gweithfaoedd Cyhoeddus; a'r hur i'r gweithwyr *(labourers)* yw 3s. 3c. y dydd, ac i'r maeswniaid mae 12s. 6c. y dydd. Pris y blawd yn Ystôr-dy yr Eglwys yw £1 5s. y cant, ac nid oes codi a gostwng arno. Dyma well lle i weithwyr Merthyr-Tydfil, onite, ynghyd â'r sawl sydd ag anifeiliaid ganddynt; ac y mae y llysiau a'r blodau sydd yn tarddu o'r ddaear, yn eu hiaith yn dywedyd, "Dyma ddaear ffrwythlawn; triniwch hi, a chewch eich bara beunyddiol." Mae fy mhapyr bron llawn. Fy serch atoch chwi, eich gwragedd, a'ch plant, ac at y brawd Jones, a'r holl Saint: dymuna Martha ei chofio atoch yr un modd.

Eich brawd yn Nghrist,

WILLIAM MORGAN.

## AMRYWIAETHAU, &c.

---

Na fydded i neb flino ar wneyd yn dda i ereill; canys trwy fod yn garedig i ereill, yr ydym yn gwneyd caredigrwydd â ni ein hunain.

Os na fydd i neb sylwi ar ein ffaeleddau, bydd i ni ein hunain eu hanghofio yn fuan.

Yr oedd y cholera mor enbyd yn Calcutta yn Mehefin diweddaf, fel ag y bu farw 1,100 o bersonau mewn dau ddiwrnod yn unig! Yr oedd yn lled enbyd hefyd yn Copenhagen yn mis Gorphenaf.

Yn 1851, cofrestrwyd 395,174 o farwolaethau yn Lloegr a Chymru; nifer y genedigaethau oedd 615,865. Y genedigaethau anghyfreithlawn oeddynt 42,000, heblaw y miloedd a allasent fod wedi eu celu.

O'r Dyffryn.—Mae y newyddion diweddar yn hysbysu fod llifogydd mawrion wedi bod yn Nyffryn y Llyn Halen, nes yr oedd yr Iorddonen, mewn rhai manau, yn ddwy filltir o led, a derbyniodd y cnydau llafur gryn niwed. Mae argoelion gobeithiol iawn am y gwaith haiarn; ac yr ydys wedi cael gwythïen o fŵn plwm, wyth troedfedd o led, o'r fath oreu.

HYMN.

Ton—"Troubadour."

Molwch yr Arglwydd Dduw, Crëwr y byd,
A'r hwn a'n ceidw'n fyw ynddo cyhyd:
Caner i'w enw ef glodydd didawl;
Iddo Ef, Frenin Nef, 'perthyn pob mawl. (1846.)

---

Taliadau o Awst 19 hyd Awst 25.—Pontypridd, 13s 6c; Hirwaen, 9s 10c; Pendaren, 3s; Aberdare, 4s 10c.—Cyfanswm, £1 11s 2c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 10.] MEDI 3, 1853. [CYF. VI.

## DERBYNIAD YR YSBRYD.

GOFYNIR i ni weithiau, pa un ai trwy bersonau eu llywyddion, neu oddiwrth Dduw yn uniongyrchol, y derbynia y Saint yr Ysbryd Glân; ac yn bresennol ymdrechwn ateb y gofyniad mor eglur ag y medrwn.

Dichon mai buddiol, wrth gychwyn, fyddai egluro ychydig, ynghylch pa beth yw yr Ysbryd Glân, neu Ysbryd Duw. Ymddengys wrth yr ysgrythyrau ei fod yn beth sylweddol, ac yn bodoli er tragywyddoldeb. Darlunir ef "yn ymsymud ar wyneb y dyfroedd" yn y dechreuad; ac wedi hyny yn disgyn ar rith colomen ar ben ein Harglwydd, ac megys gwynt nerthol yn rhuthro, ac yn llanw y tŷ, gan ymddangos megys tafodau gwahanedig o dân, ar y Pentecost. Mae, fel y gwynt, yn chwythu pa le bynag y myno; ac ni a deimlwn ei bresennoldeb, eithr ni wyddom o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le y mae yn myned. Mae yn bresennol yn mhob man, a gallwn ddweyd am dano, fel y Salmydd, "I ba le y ffôaf o'th wydd?" Mae megys mân ronynau deallgar, yn medru bodoli yn y ffurf a fyno, ac yn gweithredu yn mhob sefyllfa yn ol meddwl Duw. Y sawl ag ydynt wedi ei dderbyn, yw yr unig rai a wyddant ychydig am dano. Er ei fod, megys haul, yn goleuo pawb sydd yn dyfod i'r byd; etto, ychydig yw y rhai a dderbyniasant fflam o hono i oleuo yn eu mynwesau eu hunain, a llai drachefn a allant gadw y fflam hono yn fyw hyd nes y cyfarfyddant â'r Priodfab.

Ond er mai ychydig sydd yn derbyn yr Ysbryd Glân, mae yr addewid o'i dderbyniad yn cael ei rhoddi i bawb; canys fe ddywedodd Pedr wrth y bobl ar ddydd y Pentecost fel hyn:—"Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau; a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân: canys i chwi y mae yr addewid, ac i'ch plant, ac i bawb yn mhell, cynnifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato" (Act. ii, 38, 39). Gwelwn wrth hyn, ynte, y gall pawb dderbyn yr Ysbryd Glân, os edifarhant ac ufyddhau i fedydd a gosodiad dwylaw yr henuriaid; ond nid heb hyny, os na wna Duw eithriad i'w reol. Mae yn wir fod y rhai a fedyddir, yn "derbyn ysbryd Crist" (fel y gwelir yn nhud. 65 o'r "Ath. a Chyf.") yn flaenorol i'w bedyddiad; eithr wedi hyny y maent yn derbyn yr Ysbryd Glân. Derbyn ysbryd Crist a feddyliem ni, yw derbyn y cyffelyb duedd ag yntau i ymostwng i wneuthur ewyllys ei Dad. Mae hyny yn angheurheidiol yn mhob deiliad bedydd, a dylai ei ddangos trwy ei weithredoedd cyn cael ei fedyddio. Gŵyr pawb na wnelai ysbryd y byd neu ysbryd y diafol byth y tro; byddai hwnw yn llwyr anaddasu pawb.

Yn nesaf, ymofynwn pa fodd y derbynia y bedyddiedig yr Ysbryd Glân. Gallwn ddysgu hyny oddiwrth Act. viii, 17—19, "Yna hwy a ddodasant eu dwylaw arnynt, a hwy a dderbyniasant yr Ysbryd Glân. A phan welodd Simon mai trwy osodiad dwylaw yr apostolion y rhoddid yr Ysbryd Glân, efe a gynnygiodd iddynt arian, gan ddywedyd, Rhoddwch i minnau hefyd yr awdurdod hon, fel ar bwy bynag y gosodwyf fy nwylaw, y derbynio efe yr Ysbryd Glân." Gwelwn wrth hyn, nad yw yn bosibl derbyn yr Ysbryd Glân ond trwy arddodiad dwylaw rhyw henuriaid awdurdodedig oddiwrth Dduw: hwynthwy sydd yn meddu y gallu o'i roddi. Gall fod yr Ysbryd a gyfranir yn dyfod oddiwrth eu personau, pan fyddont yn llawn o hono; neu ynte, o rywle arall, fel ag y byddo yr Ysbryd yn ewyllysio. Yr ydym yn darllen i'r Iesu unwaith anadlu ar ei ddyscyblion, gan ddywedyd wrthynt am dderbyn yr Ysbryd Glân; yr hyn a ymddangosai fel pe byddai yr Ysbryd yn dyfod arnynt oddiwrtho ef. Dro arall, darllenwn ei fod yn …wbodol o ddylifiad rhinwedd oddiwrtho at ereill, er eu … nis gallwn farnu fod y rhinwedd hwnw yn ddim … Glân.

ymw…
gwellhau; a…

Ond i sylwi yn fwy neillduol ar y gofyniad yn nechreu ein hysgrif, cawn nodi y pethau canlynol:—Wedi i ddyn dderbyn yr Ysbryd Glân trwy arddodiad dwylaw, neu gael ei eni drachefn, trwy ddyfod yn ddeiliad o deyrnas Dduw, yna gosodir ef mewn sefyllfa, yn mha un y gall barhau derbyn yr Ysbryd Glân, a chynnyddu ar ddelw Duw. Yn y sefyllfa hono y mae yn cael ei ddysgu i gadw pob peth a orchymynodd Duw, ac i fyw dan ei lywodraeth. Ac ar yr ammodau o ufydd-dod i'r llywodraeth, y parha y dyn i dderbyn Ysbryd Duw, ac nid heb hyny. Ac nid oes modd i neb fod yn nheyrnas Dduw, heb fod yn ddeiliad llywodraeth. Pe na pherthynai rhywun i ryw gangen, byddai yn debyg o berthyn i ryw gynnadledd; neu pe na pherthynai i unrhyw gynnadledd, byddai yn sicr o fod dan lywodraeth rhywun, pe na byddai yn neb amgen nâ'r Llywydd Brigham Young, oblegid y mae efe yn llywyddu yr holl Saint ar wyneb y ddaear: felly, nis gall neb ddianc rhag llywodraeth Teyrnas Dduw. Yn awr, yr unig ffordd i barhau derbyn Ysbryd Duw, yw trwy ufyddhau i'w lywodraeth ar y ddaear, yn ei holl gyssylltiadau. Nid oes modd ufyddhau i Dduw, heb ufyddhau i'w weision; ac os na ufyddheir i Brigham, fel prif was i Dduw ar y ddaear, ofer hollol yw i neb feddwl y gall ychwaith ufyddhau i Dduw, oblegid y mae hyny yn groes i'w drefn. Mae Brigham wedi cael ei awdurdodi gan Dduw; a'r neb, gan hyny, a ufyddhao i Brigham, a ga allan ei fod yn ufyddhau i Dduw. Ac os derbyniodd Brigham awdurdod i fod yn brif was ar y ddaear, mae ganddo hawl i awdurdodi ereill i weinyddu oddi tano yntau; a'r neb a gydnabyddo awdurdod Brigham, a ddylai gydnabod awdurdod y personau a benoda i weinyddu o dano: ac os dylid cydnabod awdurdod y personau hyny, oni ddylid hefyd cydnabod awdurdod pawb ereill a benodir ganddynt trwy yr holl deyrnas? Dylid yn ddiammau; ac heb eu cydnabod ac ufyddhau iddynt, nis gall neb mewn un modd barhau derbyn Ysbryd Duw; oblegid y neb a anufyddhao neu a anmharcho yr awdurdodau sydd yn llywodraethu arno, sydd yn anufyddhau ac yn anmharchu y rhai a'u penododd, ynghyd â'r holl awdurdodau ereill i fyny hyd at Dduw, a thrwy hyny y mae yn colli yr Ysbryd.

Ai trwy eu llywyddion, ynte, y mae'r Saint yn derbyn Ysbryd Duw? Ië, yn ddiammau. A raid i hyny olygu fod yr

Ysbryd yn dyfod i'r Saint trwy eu personau? Na raid, eithr trwy eu hofferynoliaeth fel llywyddion. Gobeithiwn nad oes neb mor anneallus â meddwl fod yn rhaid i'r *holl* Ysbryd a dderbynir mewn cynnadledd, redeg trwy berson ei llywydd: eithr y gallai rhyw gyfran redeg felly, sydd yn ddigon rhesymol. Mae yr Ysbryd Glân yn wasgaredig yn mhob man, a gellir ei dderbyn trwy ufydd-dod i lywodraeth a dysgeidiaeth gweision Duw, eithr nid trwy un ffordd arall. Gwelir wrth hyny, y gall y Saint dderbyn Ysbryd Duw dan lywodraeth llywydd anghyfiawn neu ormesol, cyhyd ag y byddont yn ufydd iddo, ac heb wrthryfela yn ei erbyn; ond ni all y llywydd hwnw dderbyn nemawr ei hun, er mai trwy ufyddhau iddo ef y derbynient hwy y cyfan. Gwaith llywyddion ereill yw edrych ar ol y cyfryw, a'i ddwyn i farn; a dyledswydd y Saint, os gwyddant am ryw gyhuddiadau gwirioneddol yn ei erbyn, yw eu hamlygu yn y lle priodol, a hyny mewn ysbryd da, a chyda dyben cywir.

Gyda bod yr Ysbryd yn cael ei dderbyn trwy ufyddhau i lywodraeth a dysgeidiaeth ein llywyddion, derbynir ef yn fynych iawn trwy eu presennoldeb; a pha uchelaf mewn swyddi y byddo ein llywyddion, mwyaf oll a dderbyniwn o'r Ysbryd yn eu presennoldeb, pan fyddom ni a hwythau yn ein lleoedd priodol. Pa nesaf yr awn at Dduw, gan ufyddhau i'w holl osodiadau, mwyaf i gyd a dderbyniwn o'i Ysbryd. Mae yn rhaid ufyddhau a charu yr holl lywyddion ag sydd arnom, hyd at Dduw, cyn byth y gallwn dderbyn nemawr o'r Ysbryd Glân. Os carwn ac ufyddhau i'r llywydd nesaf atom, a chasâu ac anufyddhau ei lywydd yntau, yr ydym yn twyllo ein hunain, ac yn myned yn sectariaid, heb adnabod dim ynghylch llywodraeth Duw: ond os meddyliwn y deuwn i garu y llall yn raddol, gwell gwneyd ein goreu i hyny, nâ myned o'r eglwys; eithr ni dderbyniwn nemawr o Ysbryd Duw, oddieithr ein bod yn ufyddhau ac yn caru yr holl lywyddion sydd arnom yma ac yn Seion. Arwydd ddrwg iawn a ystyriem ni, fyddai fod y Saint yn ein caru ni yn fwy nâ'n llywydd, ac am ein gweled yn llywyddu yn ei le, tra byddai ein llywydd yn cael ei gymmeradwyo fel dyn da gan awdurdodau uwch: ystyriem y byddem ni neu y Saint yn mhell o'n lle, ac mai goreu pa gyntaf y diwygiem. Pe byddai dynion am ddewis iddynt eu hunain

lywyddion neu athrawon, yn lle y rhai a benododd Duw, arwyddai hyny y byddent yn lled amddifad o Ysbryd Duw, ac yn gryn elynion i'w deyrnas. Ceintachrwydd yn erbyn awdurdodau yr Eglwys, a diffyg ymddiried ynddynt, yw y nod goreu er adnabod dynion yn amddifad o'r Ysbryd; ac anfynych y cwrddir â neb o honynt yn credu hanner egwyddorion ein crefydd.

Yn awr, meddyliwn ein bod wedi ysgrifenu digon er egluro ein pwnc, a gobeithiwn y gwneir y defnydd goreu o'n sylwadau. Ein dymuniad ni yw gweled pawb yn parhaus dderbyn Ysbryd ein Heglwys, sef Ysbryd Duw, ac yn gorfoleddu wrth ufyddhau i'r Offeiriadaeth, yn ei holl gyssylltiadau yn yr eglwys. "O, mor hyfryd yw trigo o frodyr yngbyd," pan fyddo pawb yn meddu yr un teimladau, yn llawn cariad, ac yn benderfynol i wneuthur ewyllys Duw â'u holl galon. Mor rhwydd y dyhidla yr Ysbryd arnom, pan yn darllen epistolau, ac yn gwrandaw addysgiadau a chynghorion gweision Duw, pan fyddom ar lwybr ein dyledswydd. Mae yr Ysbryd yn canlyn eu geiriau lle bynag eu groesawir; a gwyn fyd y sawl sydd yn parhaus deimlo ei hun yn llawn o'r Ysbryd Glân, canys dedwydd yw. Felly cyflwynwn y sylwadau hyn i sylw difrifol ein darllenwyr, gan erfyn ar i Dduw eu bendithio er eu lles, trwy Iesu Grist. Amen.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 143.]

51. PA un ai ysbryd Adda neu Michael oedd yn sefyll yn nesaf mewn oed i'r Cyntaf-anedig, ac mai trwy rinwedd ei oedran y cafodd yr hawl o'r brif lywodraeth, dadguddiad ni phenderfyna. Fe all fod wedi cyrhaedd y sefyllfa oruchel hono trwy ei weithredoedd da, yn anymddibynol ar ei oed. Pa beth bynag a allasai fod yr achos a'i gosododd ef ar y flaenoriaeth, mae yn amlwg iddo ef anrhydeddu ei alwedigaeth, ac iddo ennill cyflawn fuddugoliaeth, ac iddo gael ei gyfrif yn deilwng i fod yn ysbryd cyntaf, yr hwn y caniatawyd iddo gael corff ar y byd newydd. Efe fel hyn a ddaeth yn dad cyntaf y cyrff cnawdol, pa rai oeddynt i gael eu cyfanneddu gan y

lluoedd lliosog o ysbrydion, y rhai a lywyddwyd unwaith dan ei lywiadaeth. Yn y byd ysbrydol, yr holl ysbrydion oeddynt frodyr a chwiorydd, yn deilliaw oddiwrth yr un Tad; ond yn y byd tymmorol, Michael a ddaeth yn dad idd ei frodyr ei hun, yn ol y cnawd.

52. Pan osodwyd Michael i mewn yn ei babell ddaearol, y cyfieithad ysbrydoledig sydd yn ein hysbysu mai efe oedd y "cnawd cyntaf ar y ddaear;" pabellau pysgod, ehediaid, ac anifeiliaid, nid oeddynt etto wedi eu llunio, nid oedd ychwaith unrhyw lysiau, neu laswellt, neu goed, neu blanigion o un darluniad ar y ddaear pan y cafodd corff Adda ei lunio. Y ddaear, yr awyr, a'r cefnfor oeddynt yn wir anghyfannedd a gwag o fywyd llysieuaidd ac anifeilaidd. Mae yn wir, megys ag y gosodasom ger bron eisoes, fod yr holl bethau rhai'n wedi eu creu yn ysbrydol yn y nef, ond hyd etto heb fod wedi eu gosod ar y ddaear. Dyn, gan hyny, a safai yn unig yn nghanol y neilltuedd aruthrol hwn. Y darluniad o'r greadigaeth, fel y mae yn cael ei roddi yn Llyfr Abraham, sydd yn cadarnhau y meddylddrych hwn, ac yn dangos yn y modd egluraf nad oedd y llysiau a'r anifeiliaid ddim wedi eu gosod ar y ddaear y trydydd, pummed, a'r chwechfed dydd neu gyfnod, fel y tybiwyd yn gyffredinol. Yr hanes am waith y trydydd dydd sydd yn darllen fel y canlyn:—"A'r Duwiau a orchymynasant, gan ddywedyd, Casgled y dyfroedd oddi tan y nefoedd i'r un lle, a deued i fyny y sychdir; ac felly y bu, fel y gorchymynasant; a'r Duwiau a gyhoeddasant y ddaear yn sych, a chasgliad y dyfroedd a gyhoeddasant yn ddyfroedd mawrion; a'r Duwiau a welsant iddynt gael eu hufyddhau. A'r Duwiau a ddywedasant, Parotown y ddaear i egino egin; sef llysiau yn hadu had, a ffrwythbrenau yn dwyn ffrwyth, yn ol eu rhywogaeth, had y rhai o honynt eu hunain a ddygant eu cyffelyb ar y ddaear; ac felly y bu, fel y gorchymynasant hwy. A'r Duwiau a reoleiddiasant y ddaear i ddwyn ei hegin allan o'u had eu hunain, a'r llysiau i ddwyn llysiau allan o'u hadau eu hunain, gan roddi had yn ol eu rhywogaeth; a'r ddaear i ddwyn prenau o'u had eu hunain, gan ddwyn ffrwyth, had y rhai na allent ond dwyn yr unrhyw ynddynt eu hun, yn ol eu rhywogaeth; a'r Duwiau a welsant eu bod wedi cael ufydd-dod. A bu iddynt gyfrif y dyddiau; o'r hwyr hyd y boreu a alwas-

ant yn nos; a bu mai o'r boreu hyd yr hwyr a alwasant yn ddydd; a dyma y drydedd waith."

Wrth ddarllen yn ystyriol y dyfyniad uchod, fe ellir dirnad i'r Duwiau, yn lle yn weithredol hau yr had, neu osod allan y planigion, iddynt yn unig barotoi neu reoleiddio y ddaear i ddwyn allan lysiau ar ryw amser dyfodol, pan y gwelent hwy yn addas idd eu planu hwynt. Fe ellir gofyn, pa barotoad oedd y ddaear yn ofyn. Yr ateb nid yw yn cael ei roddi; ond ni a allwn dybied yn naturiol nad oedd y gwahanol gyffyriau anghenrheidiol i dir cyfaddasedig i hydyfiant wedi eu huno yn eu cyfartaledd priodol. Y mae yn hollol debygol, ynte, fod parotoad y ddaear i ddwyn allan lysiau yn gynnwysedig yn nygiad ynghyd, cyd-uniad, ac unoliad yr elfenau a'u cynnysgiadau yn y fath gyfartaledd ag a ffurfiai dir addas i dyfiant llysiau o bob rhywogaeth; y parotoad hwn o'r ddaear a gymmerodd le yn mharhad y trydydd dydd neu amser; ond ar y dydd hwnw nid oedd llysiau, glaswellt, coedydd, neu blanigion o unrhyw ddarluniad wedi eu planu. Yr hau a'r planu a ohiriwyd hyd rhyw gyfnod dyfodol.

53. Mae wedi bod yn dybiaeth gyffredinol fod y pysgod a'r ehediaid wedi cael eu gwneyd ar y pummed dydd, ond Llyfr Abraham a rydd feddylddrych yn hollol wahanol. Darluniad o waith y pummed dydd sydd fel y canlyn:—

"A'r Duwiau a ddywedasant, Parotown y dyfroedd i heigio ymlusgiaid byw; a'r ehediaid, fel yr ehedont uwchlaw y ddaear yn eangder agored y nefoedd. A'r Duwiau a barotoisant y dyfroedd fel y dygent allan forfeirch mawrion, a phob ymlusgiad byw, y rhai oedd y dyfroedd i heigio yn ol eu rhywogaeth; a phob ehediad yn ol eu rhywogaeth. A'r Duwiau a welsant y cawsent eu hufyddhau, a bod eu cynllun yn dda. A'r Duwiau a ddywedasant, Ni a'u bendithiwn hwynt, ac a achoswn iddynt ffrwytho ac amlhau, a llanw y dyfroedd yn y moroedd neu'r dyfroedd mawrion; ac achoswn i'r ehediaid liosogi ar y ddaear. A bu mai o'r hwyr hyd y boreu a alwasant yn nos; a bu mai o'r boreu hyd yr hwyr a alwasant yn ddydd; a'r bummed waith ydoedd."

Fe welir, oddiwrth y darluniad hwn, fod llafur y pummed dydd yn gynnwysedig, nid yn y ffurfiad o babellau y pysgod a'r ehediaid, ond yn mharotoad y dyfroedd a'r elfenau i ymddwyn

y creaduriaid rhai'n, neu mewn geiriau ereill, idd eu cynnal hwynt wedi i'r Arglwydd eu gwneyd hwynt a'u gosod hwynt ynddynt. Pa beth oedd y parotoadau hyn, nid ydym yn cael ein hysbysu, ond ni a allwn yn rhesymol gasglu fod yno anghen am undeb a chyduniad o sylweddau ereill gyda y cyfryw o ddwfr ac awyr, mewn trefn i'w parotoi hwynt i'r creaduriaid, pa rai mewn amser priod a breswylient ynddynt. Ysgatfydd nad oedd cyfartaledd priodol o wres, goleuni, gwefrdan, a sylweddau ereill, mewn undeb â'r awyr a'r dwfr, i gynnal y bywyd anifeilaidd a fwriadwyd i feddiannu yr elfenau hyny. Gwaith y pummed dydd, gan hyny, yn lle ffurfio yr anifeiliaid rhai'n, yn unig a barotoai le iddynt fel ag y gallent gael eu cynnal pan y crëid hwynt.

*(I'w barhau.)*

*Llanelli.* *Cyf.* D. E. JONES.

---

## DULL I FABWYSIADU DYN I DEYRNAS DDUW.

POB amser pan y mae teyrnas Dduw ar y ddaear, fe ddysgwylir i'r hîl ddynol yn ddiwahan, yn gyntaf, i ddyfod yn ufydd ddeiliaid iddi, ac wedi hyny i ufyddhau yn fanwl i'w holl gyfreithiau tra fyddont byw; ac y mae o'r pwys mwyaf i ddyfod yn ddeiliaid cyfreithlawn o'r deyrnas hon, o herwydd mai ynddi yn unig y gellir cael bywyd tragywyddol. Y deyrnas hon sydd i sefyll yn dragywydd, tra y dadymchwelir pob teyrnas neu lywodraeth arall.

Yn yr oes gyntaf o Gristionogaeth, gweision Duw a draethasant y dull o ddwyn dyn i deyrnas Dduw, i'r Iuddewon yn gystal ag i'r Cenedloedd: yr Iuddewon fel cenedl a wrthodasant y gyfraith hon, ac nid hir bu y Cenedloedd hefyd, cyn cyfodi rhyfel yn erbyn y saint, gan eu lladd a'u dyfetha oddiar wyneb y ddaear. Oddiar yr amser hyny, ni weinyddwyd y gyfraith hon, hyd yn ddiweddar. Tra bu y Cenedloedd fel hyn heb fod y Deyrnas yn eu plith, hwy a aethant yn hollol anwybodus o'i chyfreithiau a'i nodweddiad; yna cododd opiniynau dirifedi, a thywyllwch a orchuddiodd y bobl oll.

Dadguddir cyfraith anghyfnewidiol y mabwysiad yn eglur yn y Testament Newydd; ond dyma y *secret* fawr, sef cael

gweision anfonedig Duw i'w gweinyddu, ac yna nid oes perygl cyfeiliorni, tra y cymmerwn ein dysgu gan y rhai hyny. Pregethwyd y gyfraith hon yn ei phurdeb ar ddydd y Pentecost i dorf liosog, gan ddynion oedd yn llawn o'r Ysbryd Glân: yr Iuddewon oedd y gwrandawyr, y rhai oeddynt wedi ymgynnull i gynnal gwledd y Pentecost Nid oeddynt yn ddeiliaid o Deyrnas Dduw, ond pechaduriaid oeddynt; etto yr oeddynt yn credu yn modoliaeth Duw, ac yn dysgwyl am ddyfodiad y Messiah; ond am yr Iesu o Nazareth, yr hwn oedd eu cenedl newydd ei groeshoelio, nid oedd ganddynt ffydd ynddo ef, ond ystyrient ef yn un o'r twyllwyr penaf. Ond Pedr a ddechreuodd dystiolaethu wrthynt, gan brofi o'r Hen Destament "ddarfod i Dduw wneuthur yn Arglwydd ac yn Grist, yr Iesu hwn a groeshoeliasoch chwi." Yr oedd y dystiolaeth yna mor gadarn a nerthol, nes iddi ddylanwadu ar feddyliau y dorf liosog, gan ddwysbigo eu calonau; yna hwy a gredasant mai yr Iesu oedd y Crist, a bod eu cenedl hwy dan gondemniad am ei groeshoelio Ef. Yr oeddent wedi eu llanw ag ofn, gan fethu deall beth a allent wneuthur, nes darfod iddynt ofyn mewn sobrwydd, "Ha wyr frodyr, beth a wnawn ni?" A Phedr a ddywedodd wrthynt, "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist er maddeuant pechodau, a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân; canys i chwi mae yr addewid, ac i'ch plant, ac i bawb yn mhell, ac i gynnifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato. Yna y rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar, a fedyddiwyd; a chwanegwyd atynt y dwthwn hwnw ynghylch tair mil o eneidiau" (Act. ii, 37—39, 41). Gwelir yma yn eglur pa fath gyfraith oedd yn cael ei phregethu, ar ddechreu y genadiaeth bwysig hon i'r holl fyd. Gwelwn hefyd mor hawdd yw dyfod i mewn i deyrnas Dduw, megys ag y daeth y tair mil hyny i mewn ar yr un dydd. Mae y pwnc hwn yn rhy bwysig i gadw dynion ar brawf, am fis neu ddau, cyn rhoddi cyflawn aelodiaeth iddynt, fel ag y gwna enwadau o sefydliad dynol. Cyn gynted ag y deallodd yr apostolion fod y gwyr hyn yn credu, ac yn edifeiriol, gweinyddasant y gyfraith yn uniongyrchol. Yr oedd y dorf yn bechaduriaid pan ddaethant ynghyd yn y boreu, ond yn yr hwyr yr oeddynt wedi eu hargyhoeddi, ac wedi cael cyflawn aelodiaeth yn mhlith y Saint: yn y boreu yr oeddynt yn ddeiliaid yn nheyrnas y tywyllwch,

ond erbyn yr hwyr yr oeddynt yn ddeiliaid Teyrnas Dduw! Diolchwn i Dduw am fod yr efengyl yn anghyfnewidiol, ac am fod yr un achos yn dwyn yr un effaith yn awr megys cynt, pan weinyddir gan ddyn mewn awdurdod. Cafodd y dorf hon ei dysgu yn gyntaf, i gredu fod Iesu Grist yn Fab Duw; yn ail, i edifarhau am eu pechodau; ac yn drydydd, i gymmeryd eu bedyddio yn enw Iesu Grist; yna yr oedd addewid iddynt o gael maddeuant pechodau yn gyntaf, ac yna i gael derbyn dawn yr Ysbryd Glân. Ai dyma yr holl reolau ag sydd yn ofynol ufyddhau iddynt er dyfod yn etifeddion o'r Deyrnas? Nage; y mae un ordinhad arall, pa un na chrybwyllir am dani yn hanes troedigaeth y tair mil hyn, ond y mae yn cael ei choffâu mewn cyssylltiad â throedigaeth ereill, ac felly nid ydym wedi ein gadael mewn anwybodaeth yn ei chylch; hyny yw, *gosodiad dwylaw* er derbyn yr Ysbryd Glân (Act. viii, 17). Ffydd, edifeirwch, bedydd, a gosodiad dwylaw ydynt y rheolau cyntaf i ddwyn dyn i Deyrnas Dduw; a maddeuant pechodau a dawn yr Ysbryd Glân, ydyw y ddwy fendith sydd mewn cyssylltiad ag ufydd-dod i'r rheolau. Cofier fod y rheolau yr un yn awr ag yr oeddent yr amser hyny. Wel, dyma y ffordd i bawb gael gwybod a fyddant yn etifeddion o Deyrnas Dduw ai peidio. Pe bai twyllwyr, neu ddynion heb awdurdod yn myned allan i bregethu yr egwyddorion hyn, canfyddem yn union mai twyllwyr fyddent, os na dderbyniem y bendithion. Duw sydd yn maddeu ac yn rhoddi dawn yr Ysbryd Glân, ac ni fyddai yn gysson ag ef ei hun, pe bai yn rhoddi y bendithion hyn i'r rhai fyddai yn credu mewn twyllwyr, yr un modd â'r rhai hyny fyddai wedi ufyddhau i'w weision anfonedig Ef. Ni dderbynia neb y bendithion hyn, os byddant wedi cael eu twyllo, er y gallant fod yn onest, a meddwl mai y gwir anfonedigion fyddant wedi credu iddynt Gwel Act. xix, 1—6. Ni a welwn mai awdurdod yw y peth sydd yn anhebgorol angenrheidiol, er cael tystiolaeth i ni ein hunain, pa un a fyddwn wedi dyfod yn blant i Dduw ai peidio. Wedi cael tystiolaeth trwy Ysbryd Duw mewn un eglwys, ffolineb fyddai dysgwyl yr unrhyw mewn eglwys arall. Byddai Duw yn gyfnewidiol, pe derbyniai dwy gymdeithas wahanol y bendithion hyny. Ond un ffordd sydd, ac y mae yn rhaid i bawb, yn fawr a bach, i ddyfod ar hyd y ffordd hono, os mynant iachawdwriaeth. Nid

yw Duw dderbyniwr wyneb; oblegid y "neb a gredo a fydd cadwedig, cithr y neb ni chredo a gondemnir."

*Merthyr.* RICHARD MORRIS.

---

## DIADEM ANMHRISIADWY!

Y MAE trysor a'i guddle yn y nefoedd ac ar y ddaear. Maentynfa i bob daioni yw—elfen coronbleth perffeithrwydd. Crea yr iawn ddefnydd o hono nefoleiddiwch—ei gam-ddefnydd, druenusrwydd.

Er y medda effeithiau a graddau, etto, ni welir, phwysir, fesurir, deimlir, ni phrynir, ac nis gwerthir ef. Mae uwchlaw prisiad; etto mor rhydded â'r awel i bawb a'i dewisa. Prif nod ymgyrchiol dynolryw yw, etto galarus mor anmhrofiadol o'i ddaionus ddylanwad y'nt. Amser ac ymarferiad ag ef a'i cynnydda, a'i gloewa, ac a'i perffeithia. Cynnyddiant ei faintioli, a gynnydda ei werthfawrogrwydd yn gyferbyniol. Ei feddiannwyr y'nt oll ewyllysgar ddeiliaid ei ddylanwad, ei foddhaol gyd-weithwyr, a'i dragywyddol ganmolwyr ef. Ei ffynnonell sydd ddihysbydd, o'r hon cymhella ddynolryw i ddrachtio, a bydd mwy yn ngweddill po fwyaf gymmerir. Ei sylweddau ydynt anfarwol, anghyfnewidiol, ac a arfaethwyd i dragywyddol fudd a mwynhad. Po fwyaf a feddir mwyaf a chwennychir o hono, nes wedi ymfeddwi yn ei hylif, ymnofir yn ei nefoleiddiwch. Mwyaf roddir mwyaf feddir, a mwyaf geir i'w roddi. Y ffordd i gynnyddu ei faintioli a rhagori ei ansawdd yw, drwy gyfranu yr oll a feddir o hyd. Wel, beth yw'r *Diadem* anmhrisiadwy hon? Yr hwn a ddrachtia o'i ffrydiau, a ddealla mai cyfeirio yr y'm at *bur a dihalog* GARIAD.

*Merthyr.* D. JONES.

---

## HYNT YR EGLWYSI.

HYSBYSIR fi gan yr Henuriad Giles fod sefyllfa ei Gynnadledd ar gynnydd, a'r Saint yn mwynhau Ysbryd Duw yn helaeth iawn; ac y maent wedi bedyddio amryw yn ddiweddar, ac y mae argoelion da am fedyddio etto.

Hysbysir fi trwy lythyr oddiwrth yr Henuriad Dan Jones, ei fod ef wedi cael y Saint yn Sir Aberteifi, mewn ysbryd da, a

pharch mawr ganddynt i'w llywydd. Ac y mae yn hysbysu hefyd, fod argoelion da iawn drwy siroedd Fflint a Dinbych; mae sefyllfa y Saint yn dda rhagorol, ac Ysbryd Duw yn bwerus yn eu plith hwy. Mae galwad mawr iawn am bregethu trwy y wlad yn gyffredinol; bydded i'r Henuriaid hyny a all wneyd eu hunain yn gyfleus, i wasgaru ar hyd y wlad, gan bregethu yr Efengyl; a bydded i'r Henuriaid hyny sydd â'u crymanau yn rhydlyd, fyned allan i fedi, fel y gloywo eu crymanau.

Mae yr Henuriad Daniels hefyd, yn rhoddi newyddion da iawn o Sir Benfro. Hefyd, y mae yn teimlo yn ddiolchgar i Dduw, am y nerth a'r iechyd ag a fwynhaodd i gyflawni ei genadiaeth trwy y Gogledd.

Cefais lythyr hefyd oddiwrth yr Henuriad Robert Parry (Robyn Ddu), yn hysbysu ei fod wedi bod yn pregethu yn Llandeilo, Llanymddyfri, &c., &c., ac ei fod yn cael gwrandawiad da, ac yn meddwl bedyddio yn fuan.

W. S. Phillips.

*** Dymunaf hysbysu y Llywyddion, y dysgwyliaf gael gwybod sefyllfa eu Cynnadleddau bob mis o hyn allan.

W. S. P.

---

## GWIR FAWREDD.

Ton—"Merch Megan."

Mewn hoenus gynghanedd, dda hygar ei hagwedd,
  Y chwiliwn ucheledd Gwir Fawredd a'i fuch;
Am dano 'n mhlith dynion ymgeisiaf yn gysson
  I'w weled e'n wiwlon ar dremion y drych:
Ar ddechreu fy ymchwil, darparaf i'r perwyl
  Ofyniad go fanwl, mae'n egwyl yn awr;
Beth ydyw ei nodwedd yn fanwl, a'i fonedd?
  Ai rhanol y rhinwedd â llygredd y llawr?
Yn arwydd y geiriau mi welwn yn oleu,
  Na fyn ei derfynau wendidau neu dwyll;
Am hyny mi honaf, a didwyll dywedaf,
  Ei wedd ni chanfyddaf tra gwelaf y gwyll.

Ni ellir yn hollol, mewn aidd wirioneddol,
  Enwi y rhyw ddynol ond rhanol ar hyn;
Ow! bydd y boneddion a theg gyfoethogion,
  Heb gyfoeth neu gofion tan gloion y glyn:
Hen elyn dynoliaeth, ar drothwy marwolaeth
  Y saif ei arglwyddiaeth, ysywaeth, mewn sel;
Diosga y dwysgall 'r un yngwrth â'r anghall,
  A'i dda-byd yn ddi-ball i arall yr el;
A hwnw yn mhen ennyd, aiff yno 'r un ffunud,
  I gaerau y gweryd, o'i fywyd i'w fedd;

Eu mawredd ymweiria, un fodd y darfydda,
  O'i oriel, â'r eira, pan gwywa eu gwedd.

Os felly, gyfeillion, y bydd y boneddion,
  Yn wladwyr tylodion heb foddion i fyw,
Ni fwriwn yn *fawredd* ar enw *gwirionedd*,
  A wasgar mewn llesgedd, mae'n wagedd rhy wyw:
Diattal awn etto 'n uchelach i chwilio,
  Yn dyner am dano gwnawn geisio'n ddi-gudd;
Os honai breninoedd eu lleawl alluoedd,
  Heb waethu nid bythoedd eu nerthoedd a fydd;
Mi holwn 'fo'n gyfraid ar hanes gwroniaid,
  A'r dewr benaduriaid, cawn honaid yn hyn;
Yn llechres yr oesau mi welwn yn oleu,
  Yn noethion ânt hwythau dan gloau y glyn.

'Run wedd â'r hen wywddyn, o'i dwysged y disgyn,
  Daw at y cardotyn ar derfyn ei daith;
Ni welir Gwir Fawredd, na hirnerth er teyrnedd,
  E ddaw yn ei ddiwedd i'r llygredd oer llaith;
'Dydyw darfodedig oludoedd gweledig,
  O raddau mawreddig, ond llithrig oll y'nt;
Er ennill gorenwau, naws hoedd, a rhyw swyddau,
  Anwadal eu nodau, a'u gwenau mal gwynt;
Er urddau a mawrddysg uthr enwog athronddysg,
  Er rhoddion amrywddysg yn gymmysg i gyd,
Ni fyddant yn foddion i'n rhoddi ni'n rhyddion,
  A'n caffael o'n cyffion, helbulon y byd.

O Eden, hen adwyth sy'n dilyn y tylwyth,
  Nes aethom yn ystwyth dan amwyth y Nef;
Daeth melldith a malldod yn rhagfur ein trigfod,
  O achos ein pechod dai trallod i'n tref:
Ein gobaith a beidiodd, ein goleu a giliodd,
  Ein hing ymëangodd, ymdaenodd, du yw;
Ond wele, dai eilwaith i deulu y dylaith,
  Orhybarch wir obaith i berffaith gael byw;
Nid oedodd y Duwdod, heb gynnyg eu cymmod,
  Rhoi iawnder i'r dyndod ar ammod gwir râd,—
Agoryd hen gaerau oer ingawl dir angeu,
  Annillyn briddellau ei foddau ai 'n fâd.

Ymbwyllwn ni bellach, mi gawn yn amgenach,
  Oludoedd diledach, rhagorach eu gwawr;
Do'wn allan o d'wyllwch i urddas a harddwch,
  Cyrhaeddwn wir heddwch mewn elwch yn awr:
Os byddwn weis buddiol, o foddau 'n ufyddol,
  Mae etto 'n ammodol wrth reol yr Iôn,
Ein h'wyllys gawn felly, a chyfiawn ddyrchafu
  I oesawl deyrnasu, 'rwy'n synu wrth sôn;

Cawn ddyfod yn Dduwiau, a gwneyd ein planedau,
Ar swyddawl orseddau mewn breinniau llawn bri,
A hilio'r wlad helaeth â'n hygar hiliogaeth,
Yn nirfawr drefn arfaeth rheolaeth ein Rhi.

Ha! dyma Wir Fawredd, iawn ydyw ei nodwedd,
E ddaw yn ddiddiwedd mewn rhyfedd barhad;
Tra yma 'n rhoi tremyn ar ystyr ein testun,
Diorfod o'i derfyn, ni fyn ef fyrhad;
Eithafnod iaith ddyfnaf, neu chwyl o'r uchelaf,
Sydd iddo, addefaf, nis gwadaf y gwir;
Ys gwn mi esgynais, drwy'r hyffordd yr hoffais,
Diosgoi y dysgais a glywais yn glir;
Gwiw addas egwyddor a esyd in' drysor,
O'n hogylch mae'n egor, anhydor yw hi;
Mae'n wiwddawn gynnyddol, o'i rhoddiad yn raddol,
Ys gwn yn esgynol i freinniol wir fri.

*Dol y Gareg-ddu.* David Roberts.

---

## AT Y LLYWYDDION A'R DOSPARTHWYR.

Yr ydym yn ddiolchgar i bawb o honoch am bob ymdrech a wnaethoch er cario yn mlaen waith Duw mewn cyssylltiad â'r llyfrau, ac am barodrwydd llawer o honoch i wrandaw ar ein cynghorion a'n hyfforddiadau ni o berthynas iddynt: ac y mae yn dda genym i ddeall fod y brodyr yn cynnyddu yn y grediniaeth o fod ymwneyd â llyfrau yr eglwys hon, yn gymmaint o waith Duw ag unpeth arall. Ond etto, ystyriwn fod lle gan lawer i wella. Mae y taliadau, mewn llawer o fanau, ar ol yn mhell; ac y mae ofn arnom y bydd raid i ni adael symiau mawrion o ddyled ar ein llyfrau cyfrifon, nad pa mor groes y bydd hyny i'n dymuniadau, ar ein gwaith yn ymfudo o'r wlad. Ac heblaw hyny, ofnwn hefyd y bydd llawer iawn o'n llyfrau ein hunain yn aros heb eu gwerthu, yr hyn a fydd yn siomedigaeth ychwanegol: etto, os Duw a'i mŷn, myned a wnawn, ryw fodd neu gilydd. Erfyniwn y gwna ein holl frodyr eu goreu o hyn i ddiwedd y flwyddyn: mae amryw wedi gwneyd wrth fodd ein calon, ac hyderwn y dilyna y lleill eu hesiampl. Mae yn wir fod y tymmor yn fyr, ond nid yn rhy fyr i wneyd llawer o waith. Ni fu y Saint, efallai, mewn gwell amgylchiadau er ys tro, nag y maent ynddynt yn bresennol, pan y mae yr holl weithfeydd yn myned yn mlaen yn dda, oddieithr gwaith Dowlais, ond y mae hwnw ar gychwyn etto: ac ni fu yr Eglwys yn Nghymru er ys tro yn cyhoeddi mor lleied o lyfrau ag a wna eleni, yr hyn a wna er mwyn i'r Saint gael cyfleu i glirio eu dyledion, a dosparthu y llyfrau ar law.

Mewn ychwanegiad at y sylwadau blaenorol, cynnygiwn y cyfarwyddiadau canlynol, gan obeithio yr atebant ddyben da.

1. Gosoder yr hysbysiad am y llyfrau mewn man cyhoeddus ar furiau addoldai y Saint, a lleoedd ereill, a gofaled pob Cangen gadw rhywfaint o bob math o lyfrau ar werth, ac yn y golwg ar fwrdd ar ddiwedd yr oedfaon: ac yna yr ydys yn sicr o werthu llawer iawn, heb achos cymhell nemawr.

2. Ymdrechwch gael gan bawb i dalu lawr am eu llyfrau, fel nad eloch i ddyled o'r newydd; ac ymdrechwch werthu yr oll o'r UDGORN a'r *Star* fel y byddont yn dyfod allan, canys dyna yr amser goreu er eu gwerthu: gellir gwerthu llyfrau ereill yr amser a fyner, ac nid oes perygl o gadw rhai ar law o hyd.

3. Cofiwch roddi gwybod i ni yn brydlawn, os dygwydd rhyw gamsynied yn rhif y llyfrau, neu yn y taliadau am danynt. Ni ddylid oedi ynghylch hyny ar un cyfrif, canys yr amser y dygwyddo rhywbeth, yw yr amser goreu er settlo yn ei gylch. Fe ddylai fod papyr ysgrifenedig yn dyfod gyda phob taliadau, yn hysbysu y swm, o ba le y telir, i bwy y telir, am ba beth y telir, ynghyd â'r dydd o'r mis.

4. Deallwch nad yw un gangen yn rhedeg i ddyled, os bydd ganddi ddigon o lyfrau gwerthadwy ar law er ateb ein gofyniad ni ar ddiwedd pob chwarter. Ystyriwn mai y llyfrau mwyaf anwerthadwy yw rhifynau *odd* o'r UDGORN a'r *Star*.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

MARWOLAETH WILLARD SNOW.—Bu farw yr Henuriad W. Snow, Llywydd y Genadiaeth Scandinaviaidd, ar yr 21ain o Awst, tra ar fwrdd yr agerfad "Transit," pan oddeutu 80 milltir o Hull, ar ei ffordd i Liverpool, yn nghwmpeini y brodyr P. O. Hanson a H. P. Jensen. Tarawyd ef yn glaf tra yn anerch cynghor o henuriaid ar y 14eg, nes ei lwyr analluogi i lefaru, yr hyn a achoswyd, yn ol pob tebygolrwydd, trwy iddo ymdrechu gormod y tri diwrnod blaenorol wrth anerch cymmanfa Copenhagen. Yr oedd ef yn frawd i'r apostol Erastus Snow, ac i Zerubbabel Snow; a'i oedran oedd ychydig dros 40. Gorfuwyd ei gladdu yn y môr, yr hyn a wnaed mewn modd gweddus. Ceir hanes helaethach yn y *Star*, rhif. 37.

MAE yr Henuriad John Van Cott, o Lywyddiaeth yr Eglwys yn yr Ynysoedd Prydeinig, wedi ei ddewis gan y lywyddiaeth hono, i lywyddu yn Scandinavia, yn lle y brawd W. Snow, hyd nes y penderfynir yn amgenach gan y Deuddeg, neu y Brif-Lywyddiaeth yn Seion.

MAE ystafell ddarllen *(reading room)* wedi ei hagor, yn mis Mehefin, yn ystafell fawr isaf y Cynghor-dŷ, yn Ninas y Llyn Halen Fawr, hyd nes y ceir lle gwell.

MAE eglwys Chiniaidd, 42 troedfedd wrth 45, a thair llofft o uchder, i gael ei hadeiladu yn California.

Mae gohebydd o eiddo y *Jewish Chronicle* yn hysbysu fod cynnulleidfa Iuddewig fechan yn bodoli yn Singapore, y rhai a honant eu bod yn ddisgynyddion o alltudiaid y gaethglud Fabilonaidd gyntaf, ac yn anwybodus o'r ail wasgariad. Cofleidiasant ef fel brawd, ac yr oedd yn dda ganddynt ei fod, er yn Ewropiwr, yn gallu ymddyddan â hwynt yn yr Hebraeg. Desgrifir hwy yn bobl golygus a thra deallgar.

Yn nechreu Awst, yr oedd o 100 i 150 o bersonau yn marw yn ddyddiol o'r clefyd melyn, yn New Orleans.

Dinas Cuman, yn Ngwerin-lywodraeth Venezuela, a lwyr ddinystriwyd ar y 15fed o Orphenaf gan ddaeargryn, trwy yr hyn y collodd dros 2000 eu bywydau.

---

Taliadau o Awst 26 hyd Medi 1.—Caerfyrddin, £6 3s 6c; Dinas, 10s; Aberamman, 8s; Georgetown, 10s 2c; Ffynnon-Tydfil, 6s 8c; Troedyrhiw, 1s 8c (Awst 20), a 2s; Cwmbach, £1 7s 11c.—Cyfanswm, £9 9s 11c.

Gwelliant Gwallau.—Yn nhud. 118, diangodd "unigol yn ddigynnydd," yn lle "unigolyn digynnydd;" tud. 120, "rhag ei gilwg," yn lle "rhag ei chilwg;" tud. 121, "Malotrwm," yn lle "Malstrwm;" tud. 122, "hapusu," yn lle "hapuso;" a "canys byddai beunydd," yn lle "canys felly ni byddai beunydd;" tud. 124, "fydd fy ngwaredigion," yn lle "fydd fy ngharedigion;" a "fy nuw. Daearoli yw," yn lle "fy nuw daearol i, yw;" tud. 125, "mwy creulonach," yn lle "creulonach;" a "gwnai uffernol," yn lle "gwnai yr uffernol;" tud. 126, "a dueddu," yn lle "a duedda;" a "nid dy waith," yn lle "nid dy warth;" tud. 127, "amlwg i olygon," yn lle "amlwg o olygon;" ac "ein holl apêl," yn lle "ein apêl;" a "serch a'i phleser," yn lle "serch a'i pherson;" tud. 147, "3s 3c" (mewn rhai copïau), yn lle "6s 3c."

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 11.] MEDI 10, 1853. [CYF. VI.

## Y PROFEDIGAETHAU BYCHAIN.

MAE y byd yn llawn o brofedigaethau mawrion a bychain, ond y rhai mwyaf lliosog, a'r rhai mwyaf parod i'n hamgylchynu, yw y profedigaethau bychain. Mae dynion yn gyffredin yn edrych am y rhai mawrion o bell, tra y mae y rhai bychain bob amser wrth eu hymyl, ac yn cael eu gadael ganddynt yn rhy ddisylw. Mae eisieu i ni wylio rhag pob profedigaeth, pa un bynag ai mawr neu fach a fyddo; mae profedigaeth fechan mor alluog i'n niweidio â phrofedigaeth fawr, a dylem ochelyd rhag y naill fel y llall. Wrth rodio ar hyd heolydd dinas, mae mor beryglus i ni gael ein niweidio weithiau trwy sangu ar groen *orange*, â phe tarawem ein hunain yn erbyn rhyw wrthddrych mwy; ac efallai mai wrth daro ein troed yn erbyn careg fechan, yn y wlad, y cawn y cwymp mwyaf, tra yn edrych oddiamgylch am ryw beryglon mwy. Felly y mae gyda y Saint yn fynych: tra y maent yn edrych yn mlaen at ryw brofedigaeth fawr a fwriadant ei gwynebu, gorchfygir hwy yn gyntaf gan brofedigaethau llawer llai eu maint, a dichon na ddeua y brofedigaeth fawr byth i'w cyfarfod.

Mor lleied sydd yn ddigon i brofi dyn! mor rhwydd yw ei demtio! Nid oes achos ei gadw mewn anialwch, am ddeugain niwrnod heb fwyd, ac yna i ddiafol ddweyd wrtho am droi y ceryg yn fara. Na, gosodwch ef i eistedd yn olaf wrth fwrdd llawn o ddanteithion, ac hwyrach y bydd hyny yn brofedigaeth a effeithia arno am flwyddyn. Mor wahanol i'n Harglwydd,

yr hwn a roddes esiampl i ni i'w ddilyn: gorchfygodd ef y brofedigaeth fwyaf, tra mae y profedigaethau lleiaf yn aml yn llethu ei bobl. Oni ddylai y Saint fod ar eu gwyliadwriaeth, pan y mae y profedigaethau bychain mor fynych yn eu dal? Oni ddylent ymdrechu gorchfygu yr oll sydd yn dyfod i'w cyfarfod, a pheidio ymollwng i ddim? Dylent yn ddiau, ond mynych yr esgeulusant wneyd hyny. Gadawant i'r pethau lleiaf eu gwneyd yn anghysurus, ac yn achos i golli Ysbryd Duw i raddau mawr, nes myned i dywyllwch yn gyflym: ac yna eu brodyr a gânt waith mawr i'w hadferu, a'u dwyn i deimladau da.

Edrychwn ar yrfa y Saint, o'r dydd y deuant i mewn i'r Eglwys, a gwelwn fel y maent yn cael eu treio gan brofedigaethau, ïe, yn fwyaf cyffredin, gan brofedigaethau bychain. Y mae dyn yn cael ei brofi pan yn gweled y byd yn troi eu cefnau arno, a'i ffryndiau yn troi yn elynion iddo, ar y pryd y byddo yn dyfod i Deyrnas Dduw, a phan y byddo yn amddifad o un dystiolaeth. Wedi hyny y mae yn cael ei brofi drachefn wrth gael ei ddysgu yn mhob peth a orchymynodd Crist, ac wrth gael ei erlid gan y byd. Profir ef hefyd trwy weled ambell i frawd gau yn troi ei gefn ar yr eglwys, neu efallai trwy fod un o'i hen elynion yn cael ei fedyddio er dyfod yn frawd iddo. Weithiau temtir ef i feddwl fod ei lywydd yn ei geryddu yn gyhoeddus, a'i fod am ei ddarostwng; ac efe a demtir drachefn i feddwl, oblegid y gall ddarllen ac ysgrifenu, ei fod gystal gwr â'i lywydd, ac nad oes achos iddo ddyoddef dim yn hwy. Bryd arall, mae dyn yn cael ei brofi trwy fod arall yn cael ei alw yn swyddog o'i flaen ef, ac yntau yn henach yn yr eglwys; arweinir ef i gredu fod y llywydd yn bleidiol, ac nad oes cyfiawnder ynddo. Mae cyfnewidiadau felly yn effeithio yn fawr iawn ar lawer un, ond y mae rhai yn well i orchfygu profedigaethau nâ'u gilydd, ac felly yn gadarnach rhyfelwyr yn myddin Iesu: ac er nad yw profedigaethau felly ond rhai lled fychain, etto y maent yn gorchfygu llaweroedd. Temtir dyn weithiau oblegid na chaiff bregethu, a phryd arall temtir ef trwy geisio ganddo i bregethu. Temtir rhai am na chânt bregethu yn olaf, ac am y meddyliant y gwneir gormod o barch i ereill, ar gost eu darostwng hwy. Temtir ereill oblegid y meddyliant eu bod yn cael aros yn ddiaconiaid neu ddysgawdwyr yn rhy hir, a'u

bod yn deilyngach o swydd uwch nâ rhywun newydd ei fedyddio. Mae rhai drachefn yn cael eu temtio, o herwydd na chant fod yn llywyddion, a hwythau wedi bod mor hir yn yr eglwys; tra mae ereill yn cael eu temtio i roddi eu llywyddiaeth i fyny. Gwelwn fod y profedigaethau bychain braidd yn aneirif, ac y mae rhai o honynt yn cyfarfod â phob dyn, ac â phob dynes hefyd, canys nid y'm i feddwl fod y chwiorydd yn cael eu gadael yn amddifad. Maent hwythau hefyd yn cyfarfod â lluoedd o brofedigaethau bychain, fel y brodyr; ac y mae ganddynt i'w gorchfygu neu ymollwng iddynt, megys hwythau.

Mae yn ddyledswydd ar yr holl Saint i wrthwynebu pob profedigaeth ar y pryd y byddo yn ymgynnyg iddynt, a pheidio rhoddi ffordd iddi am fynyd; canys y neb a roddo ffordd iddi, a orfodir i roddi ffordd i lawer o brofedigaethau ereill. Ystyried pob un fod profedigaethau yn barod i'w amgylchynu bob dydd a phob awr, ac y dylai weddio foreu a hwyr, a phob amser cyfleus arall, am nerth i orchfygu pob temtasiwn a ddelo. Nid gweddio am i brofedigaethau beidio dyfod a ddylem, oblegid y mae yn dda i ni eu bod; eithr gweddio am i ni gael digon o nerth a doethineb i'w gorchfygu. Cadwn ein golwg yn fwy ar y profedigaethau bychain, ac ni a fyddwn yn orchfygwyr ar yr holl brofedigaethau a ddaw i'n cyfarfod; canys os gofalwn ni am y profedigaethau bychain, mae yn ddiau y gofala Duw gyda ni am y profedigaethau mawrion. Pa amlaf y gweddiwn ar Dduw am nerth i orchfygu profedigaethau, mwyaf i gyd o nerth a gawn, a mwyaf i gyd y meddyliwn ninnau am y profedigaethau, y deuwn i'w hadnabod, ac y gwyliwn rhagddynt. Mae y dyn sydd yn gweddio yn fynych, yn profi ei fod yn gwylio hefyd, oblegid y mae ei weddiau yn dwyn hyny yn barhaus ar ei gof: felly, nid yw y dyn hwnw yn cael ei ddal gan demtasiynau, gan ei fod yn eu gorchfygu fel y byddont yn dyfod o'i flaen. Mae o bwys i bawb weddio, ynte, a hyny bob dydd yn ei ddydd; gwnawn ein dyledswydd yn dda heddyw, a bydd gobaith y gwnawn yr un fath y fory: ond os methwn heddyw, mae yn edrych yn dywyll am y fory.

Bydded i'r sylwadau blaenorol dueddu pawb i wneuthur ymdrech deg er gorchfygu yr holl brofedigaethau bychain a mawrion a ddelo i'w cyfarfod, yn yr amser presennol, ac yn yr

amser dyfodol hefyd. Ceir llawer o brofedigaethau newyddion yn barhaus, ac nid yw yn debyg y darfyddant hyd nes y byddom oll wedi ein perffeithio drwyddynt. Gan hyny, byddwn barod i'w cyfarfod, ac ni orchfygir neb o honom, tra y parhawn i wneuthur ein goreu; ond cawn y pleser o fod yn fuddugoliaethwyr arnynt oll.

---

## BREUDDWYDION, GWELEDIGAETHAU, TAFODAU, &c.

BRAINT ogoneddus o eiddo Saint Duw yn mhob oes, yw derbyn gwybodaeth ac hysbysiaeth oddiwrth Dduw, trwy freuddwydion, gweledigaethau, tafodau, &c. Y Saint gynt a dderbynient hysbysiaeth trwy y cyfryngau hyn. Yr oedd prophwydi a chyfiawnion yn ceisio hysbysiaeth o'r bydoedd tragywyddol, a thrwy freuddwydion a gweledigaethau y nos, a thrwy dywalltiad yr Ysbryd Glân, yr oedd golygfeydd y mynedol, y presennol, a'r dyfodol yn cael eu dangos iddynt; eu meddyliau a ordöid gan ogoniant ac ardderchogrwydd gwir hanfodau tragywyddol; a chawsent eu sirioli, eu hadnewyddu, eu nerthu, a'u parotoi gogyfer â dygwyddiadau bywyd.

Pa un a yw dynolryw yn ymwybodus o'r peth neu beidio, etto y mae yn wir fod y doniau a'r bendithion hyn—y cyfryngau hyn o addysg, ac o gyfrinach â phreswylwyr bydoedd ereill, wedi eu penodi gan Dduw er lles y rhai a ddymunant gael eu dysgu ganddo Ef. Ac er fod mwyrif o ddynolryw yn gwatwar pethau felly, etto y mae yn ysgrifenedig mai yn y "dyddiau diweddaf" hyn ag yr ydym yn byw ynddynt, nad yw dynion i gael eu nacâu neu eu hamddifadu o'r bendithion hyn, lle yr ymofynir am danynt gyda gwir ddymuniad i ddysgu pethau Duw. Mae Joel, wrth lefaru am yr amseroedd diweddaf, yn dadgan yn eglur, "A bydd ar ol hyny, y tywalltaf fy Ysbryd ar bob cnawd, a'ch meibion a'ch merched a brophwydant, eich henuriaid a welant freuddwydion, eich gwyr ieuainc a welant weledigaethau; ac ar y gweision hefyd ac ar y morwynion y tywalltaf fy Ysbryd yn y dyddiau hyny?" A miloedd o Saint a allant dystioliaethu fod yr Ysbryd hwnw yn cael ei dywallt allan, a bod breuddwydion a gweledigaethau, tafodau a phro-

phwydoliaethau, yn awr yn cael eu rhoddi i blant dynion, gan agor i'w golygon waith gogoneddus Duw yn yr oruchwyliaeth hon, a dysgu y meddwl mewn egwyddorion ag y collwyd golwg arnynt yn hir gan feibion dynion. Tuedda hyn i beri i'r enaid orfoleddu, a thalu diolchgarwch i'r YDWYF mawr, am y mynegiadau newyddion hyn o'i drugaredd tuag at waith ei ddwylaw.

Trwy freuddwydion a gweledigaethau y dangoswyd i Joseph ei ddyrchafiad ei hun a'r agwedd ddarostyngedig â pha un y cyflwynai tŷ ei dad eu hunain ger ei fron, er ei fod ar yr amser y cafodd ei freuddwyd yn cael ei gasâu gan ei frodyr, ac ar ol hyny ei werthu ganddynt i gaethiwed. Daniel, mewn gweledigaethau y nos, a gafodd wedi eu dadblygu i'w olwg, ddygwyddiadau gogoneddus y dyfodol—cyfodiad a chwymp teyrnasoedd, ac erlidigaeth a buddugoliaeth olaf Saint y Goruchaf. Trwy weledigaeth y dangoswyd i Ezeciel adfywiad yr esgyrn sychion, neu, mewn geiriau ereill, yr adferiad i ffafr yr Arglwydd, a'r adgyfodiad, o holl dŷ Israel, ac hefyd ddyfodiad allan bren Ephraim yn y dyddiau diweddaf, a'i undeb â phren Judah, a'r dylanwad a gai yr undeb hwn er troi calonau y plant at wybodaeth o'u cyndeidiau. Trwy freuddwydion yr achubwyd y plentyn Iesu rhag eiddigedd enbyd Herod. Trwy weledigaeth y dangoswyd i Pedr fod y Cenedloedd yn gystal â'r Iuddewon yn meddu hawl i fendithion yr Efengyl. Trwy weledigaeth y cafodd Paul ei hyfforddi, tra yn hwylio tua Rhufain, na chai efe a'i gymdeithion eu llyncu gan dònau digllawn yr eigion mawr; a thrwy weledigaeth hefyd y dadguddiwyd i'w ddealltwriaeth ogoniantau ardderchog y drydedd nef. Trwy weledigaeth yr agorwyd yr oruchwyliaeth ddiweddaf hon, a thrwy yr un cyfrwng y syllodd y Prophwyd Joseph ar ogoniantau annhraethadwy y bydoedd nefol, daearol, a than-ddaearol. Ond ni chaniatâ amser a lle i ni fynegi am freuddwydion a gweledigaethau Lehi, Nephi, Alma, brawd Jared, ac Apostolion ac Henuriaid yr oruchwyliaeth ddiweddaf hon. Mae llawer o weledigaethau a breuddwydion y gwyr teilwng hyn i'w cael yn awr yn ysgrifenedig mewn llyfrau, oddiwrth pa rai y gall ein darllenwyr, wrth eu pleser, ddysgu llawer o bethau yn mhellach.

A ddylid ymofyn am weledigaethau, breuddwydion, tafodau,

&c., gan y Saint yn bresennol? Dylid yn ddiau. Fe ddylai y Saint ymdrechu yn daer am y pethau hyn, eithr y mae eisieu bod yn ddoeth. Mae y doniau hyn o eiddo Duw yn foddion gwerthfawr er addysgu. Bwriadwyd hwynt, ac y maent yn gyfaddasedig, i brofi yn fendithion o radd uchelach nag y mae dynion yn naturiol yn chwannog i geisio am danynt. Eithr y mae pob bendithion, mawrion neu fychain, yn cael eu dilyn yn ddieithriad gan faglau cyferbyniol, am ba rai gwnai y Saint yn dda i gymmeryd gofal.

Pan fyddo bendithion yn cael eu tywallt mewn modd neillduol ar ryw bobl, mae y bobl hyny, os na fyddant yn dra gofalus, yn agored i ymchwyddo yn eu calonau, ac i golli yr ysbryd hwnw o ostyngeiddrwydd a chyssondeb a ddylai fod bob amser yn nodweddu Saint Duw. Mae yn eithaf gwir fod y nefoedd yn llawn bendithion, a'r Hollalluog yn wastadol yn barod i'w cyfranu i'r personau a'u ceisiant ganddo, etto mae lluoedd o ddynolryw yn anmharod i'w derbyn. Pe cyfrenid bendithion penodol i bobl nad ydynt yn barod i'w derbyn, ac nad allent eu gwerthfawrogi yn ddigonol er eu cymhywso gyda barn a doethineb at amgylchiadau bywyd, meddyliau y fath bobl a orbwysid yn fuan, eu sefydlogrwydd a fethai, a hwy a ddeuent yn anghymhwys gogyfer â'u dyledswyddau arferol. Mewn amgylchiadau felly, ni fyddai y bendithion a roddid yn profi yn fendithion mewn gwirionedd, eithr yn felldithion; ac, yn lle bod yn offerynau er achub y derbynwyr, byddent yn offerynau i'w condemnio. Dywedodd yr Iesu wrth ei ddyscyblion—"Na roddwch y peth sydd santaidd i'r cwn, ac na thaflwch eich gemau o flaen y moch; rhag iddynt eu sathru dan eu traed, a throi a'ch rhwygo chwi." Mae y cynghor dammegol hwn yn egluro y tebygolrwydd a fodola o fod dynion yn camddefnyddio y bendithion nad ydynt hwy yn alluog i'w gwerthfawrogi, ac nid yn unig y bendithion, eithr cyfranwr y bendithion hefyd. Paul a gydnabydda y perygl o fod dyn yn ymddyrchafu yn ei galon, o herwydd y bendithion a dywalltwyd arno—"Ac fel na'm tra-dyrchafer gan odidogrwydd y dadguddiedigaethau, rhoddwyd i mi swmbwl yn y cnawd, cenad Satan, i'm cernodio, fel na'm tra-dyrchefid."

Er mai braint a hawl yr holl Saint yw derbyn gwybodaeth trwy freuddwydion, gweledigaethau, tafodau, &c., etto dylai

fod y cyfryw wybodaeth o'r nodweddiad hwnw ag a fyddo yn addysgiadol, ac adeiladol, ac yn gyfaddas neillduol i amgylchiadau y derbyniwr. Er fod gan Sant hawl i dderbyn dadguddiadau, trwy freuddwyd neu weledigaeth, er ei hyfforddiad ei hun yn nghyflawniad dyledswyddau a berthynant yn neillduol i'w gylch ei hun, etto nid oes gan neb Sant hawl i dderbyn dadguddiadau er arwain, neu lywodraethu, neu gyfarwyddo, symudiadau y rhai hyny ag ydynt yn uwch mewn awdurdod nag ef ei hun. Pe buasai hyn yn ganiatäol, buan y deuai diwedd ar bob trefn yn Nheyrnas Dduw, a chymmysgedd goddidog sectariaeth a amlygid, yr hyn a syfrdanai feddyliau y rhai onest eu calon. Mae gan Brigham Young yr hawl i dderbyn gwybodaeth trwy freuddwyd, gweledigaeth, &c., er ei ddysgu ef yn nyledswyddau pwysig ei alwedigaeth uchel, ac er arwain holl Eglwys Crist ar y ddaear. Eithr nid oes gan un dyn arall ar y ddaear yr hawl i dderbyn dadguddiadau er hyfforddi Brigham Young, pa beth a ddysga, a pha fodd y gweithreda. Mae gan Lywydd Cenadiaeth hawl i gael breuddwydion a gweledigaethau er ei ddysgu yn nyledswyddau ei Genadiaeth, eithr nid oes gan un dyn o dan ei ofal yr hawl i gael breuddwydion a gweledigaethau er hyfforddi Llywydd y Genadiaeth. Mae gan Lywydd Cynnadledd hawl i gael breuddwydion neu weledigaethau er ei ddysgu yn ei dyledswyddau, eithr nid oes gan un dyn o dan y Llywydd unrhyw hawl i gael breuddwydion neu weledigaethau er hyfforddi ei Lywydd. Mae gan Lywydd Cangen hawl i gael breuddwydion neu weledigaethau er ei ddysgu yn ei ddyledswyddau, eithr nid oes hawl gan unrhyw aelod arall o'r Gangen hono i'w hyfforddi ef trwy dderbyn breuddwyd, neu weledigaeth, neu y ddawn o dafodau. Mae gan dad teulu yr hawl i dderbyn dadguddiadau er ei addysgu ef i gyfarwyddo a llywodraethau ei deulu, eithr nid oes gan wraig, na neb o blant y dyn hwnw, hawl i'w hyfforddi ef yn nghylch cyfarwyddiad a llywodraethiad ei deulu. Mae gan y wraig neu y plant yr hawl i gael breuddwydion neu weledigaethau er eu haddysg a'u lleshad eu hunain. Medda pob dyn a dynes yr hawl i gael breuddwydion, gweledigaethau, tafodau, cyfieithiadau, a chynnifer o ddoniau yr Ysbryd ag y gallo ef neu hi gael er eu haddysg personol, eithr nid oes hawl gan un dyn na dynes i dderbyn y pethau hyn er hyfforddi y sawl a fyddo

wedi eu gosod drosto ef neu hithau yn yr Arglwydd. Ac ni ddylai dynion, yn dal Llywyddiaeth gyfrifol, gymmeryd eu dylanwadu yn nghyflawniad eu dyledswyddau, gan freuddwydion, tafodau, a gweledigaethau, yn cael eu rhoddi trwy yr aelodau dros ba rai y llywyddant. Nid yw yr Arglwydd yn camu allan o drefn ei Deyrnas, i ddadguddio i Lywydd ddyledswyddau pwysig, trwy aelod, os bydd y Llywydd hwnw yn anrhydeddu ei swydd, ddim mwy nag y gwna i ddwfr redeg yn naturiol i ben mynydd. Pan fyddo gan Lywydd fwy o ymddiried mewn hysbysiadau a dderbynir trwy y rhai y dylai efe eu dysgu, nag yn ei allu ei hun i'w cael trwy rinwedd ei swydd, y mae yn anmharchu ei alwedigaeth, ac eglur yw ei fod wedi colli ei hysbryd cyn belled ag i beidio ymddiried yn yr Arglwydd. Pan fyddo felly, yr Arglwydd yn fuan a adawa y dyn hwnw i'w nerth ei hunan, fel yr eglurer ei ffolineb trwy ei fod yn treiglo i'r ffos ei hun, ac efallai gyda rhai o'r sawl a arweiniai. Mae gwybodaeth yn dda, o ba ffynnonell bynag y delo; eithr pan edrycho dyn i *waered* am oleuni, rhaid iddo feddu nerth golygon yn ddigonol i edrych i *fyny*, a pheido gadael i'r pelydrau oddisod wrthsefyll dylanwad y rhai oddi uchod, onide ei oleuni a dry yn dywyllwch.

Ni a annogem y Saint i feithrin doniau ac eglurhad yr Ysbryd, canys fe all pob Sant dderbyn eglurhad "er lleshad." Eithr dylai doethineb gael ei arferyd bob amser wrth ddefnyddio y doniau hyn, neu fe ga yr Ysbryd ei dristâu, ac efe a ymadawa, gan adael y rhai a'i meddiannent, yn ysglyfaeth i "arwyddion a rhyfeddodau gau" yr hwn, megys llew rhuadwy, sydd yn rhodio oddiamgylch, gan geisio y neb a allo ei lyncu. Dylai y Saint geisio ymburo gerbron yr Arglwydd, a bod yn barod gogyfer â dadguddiadau y wybodaeth a'r gogoniant ag sydd i ddyfod, fel na chaffont eu tra-dyrchafu yn nydd llwyddiant trwy y bendithion a dderbyniant, na methu yn eu calonau yn nydd drygfyd trwy eu gwendid, a'r defnydd annoeth y gallent fod wedi eu temtio i wneyd o eglurhad yr Ysbryd Glân. Nid yw doniau Duw yn cael eu cyfranu i ddynion er mwyn gwag ymffrost, neu wrthryfel, neu er tra-arglwyddiaethu dros etifeddiaeth Duw, eithr yn neillduol er lleshad, addysg, adeiladaeth, a chadarnhad yn y ffydd, y cyfryw a'u derbyniant, fel y byddo yr Offeiriadaeth yn cael ei chyflawn gynnysgaethu

at bob gweithred dda, fel y galluoger y Saint i orchfygu, a pharhau hyd y diwedd. Dylai y doniau, ynghyd â'r rhai a'u harferant, fod bob amser yn ddarostyngedig i'r gallu llywyddol.—*O'r "Star."*

---

## GLENDID.

Yr ydym wedi bod yn rhoddi cynghorion ar y pwnc uchod o'r blaen, a darfu i lawer o'r Saint ddiwygio yn fawr trwy hyny. Ond ofnwn fod llawer wedi anghofio erbyn hyn, a bod eisieu eu cynhyrfu o'r newydd. Yr ydym yn credu fod Duw yn hoffi glendid; a gwyddom ei fod yn gorchymyn gwneuthur pob peth mewn glanweithdra ger ei fron. Nid ydym yn credu fod yr Ysbryd Glân yn hoffi trigo mewn tai bryntion. Yr ydym yn ei ystyried yn ddyledswydd neillduol ar yr holl swyddogion, pan yn ymweled â'r Saint, i ddysgu glendid iddynt, canys y mae hyny mor anghenrheidiol â dysgu gweddio. Nid yn unig dysgu iddynt gadw eu tai yn lân, ond hefyd eu cyrff a'u dillad. Bydded i'r Henuriaid a'r Offeiriaid hefyd gymmeryd cynghor i gadw eu hunain yn lân i ddyfod i'r cyfarfodydd, rhag ofn iddynt gael eu galw yn mlaen i dori bara, a'u dwylaw hwythau yn fryntion. Nid yw yn rhyfedd fod y chwiorydd yn ceintach wrth weled swyddwyr â'u dwylaw yn fryntion yn tori bara ar y Sabboth.

W. S. Phillips.

---

## HYNT YR EGLWYSI.

Derbyniais lythyr oddiwrth y brawd Richard Roberts, Llywydd Cynnadledd Dyffryn Conwy, yn hysbysu fod y gwaith yn myned yn mlaen yn hwylus iawn, ac argoelion mawr am fedyddio dynion cyfrifol. Mae amryw bregethwyr yn credu, a dysgwylir iddynt ufyddhau yn fuan.

Hysbysir gan T. Jeremy iddo dderbyn llythyr oddiwrth Lywydd Cynnadledd Llanelli, yn hysbysu fod llwyddiant cyffredinol trwy y gynnadledd hono, a bod ymdrech mawr yn cael ei wneuthur er taenu yr egwyddorion ar hyd y wlad.

Mae amryw wedi eu bedyddio yn ddiweddar yn Nghaerdyf ac argoelion da etto. W. S. Phillips.

## TYSTIOLAETH GAN SECTARIAID.

CLYWSOM am gyfarfod neillduol a gynnaliwyd gan un o enwadau parchus ein gwlad, a'r pynciau dan sylw oedd fod "Mormoniaeth a Phabyddiaeth yn llwyddiannus iawn, iawn yn ein gwlad." "Bobl anwyl, beth a wnawn?" meddai y gweinidog, "maent yn sicr o dwyllo pob un nad yw ei enw yn ysgrifenedig yn llyfr bywyd yr Oen yn y nefoedd, canys y mae pawb sydd â'u henwau yno yn feddiannol ar *dystiolaeth*."

Yna dechreuodd pob un trwy y gynnulleidfa holi ei hun a oedd tystiolaeth ganddo neu beidio, a therfynodd y cyfarfod heb fawr wlith; ac heblaw hyny fe aeth yn gynhwrf mawr trwy y capel. "A oes genyt ti dystiolaeth, Morgan?" "Nac oes." "Beth sydd genyt ti, Dafydd?" "Yr wyf yn grefyddol er ys tua deg mlynedd ar hugain, ac nid oes genyf un etto." "Wel, dyn a'n helpo ni," meddai Morgan; "gadewch i ni siarad â Shôn y diacon." "Wel, Shôn bach, beth ydych chwi yn feddwl am dani? A oes genych chwi dystiolaeth?" "Yr wyf yn credu fod." "Ond ni thâl credu ddim: mae yn rhaid i chwi gael gwybodaeth." "Wel! wel! yr wyf wedi cael fy nhrwblu heno yn fwy nag erioed. Nid wyf fi yn credu fod tystiolaeth gan ein gweinidog ychwaith; o leiaf, ni chlywais i erioed mo hono ef yn sôn dim am dani o'r blaen. Yr oedd yn erlid y Saint, am eu bod yn proffesu fod tystiolaeth ganddynt. Yr wyf fi wedi cael fy nhueddu yn fwy at y Saint heno nag erioed o'r blaen; o herwydd nid oes neb yn proffesu gwybodaeth ond y Saint. Yr wyf yn credu fod gwybodaeth yn angenrheidiol ar bob Cristion: canys y mae gau-brophwydi i ddyfod, ac i roddi arwyddion mawrion. Yr wyf fi yn credu yn gydwybodol mai y Mormoniaid ydyw y gwir brophwydi; a phe bai yr eglwys yr un feddwl â mi, cymmerent eu bedyddio yn Formoniaid i gyd. Yr oedd y gweinidog yn y cwrdd chwarter diweddaf yn dweyd yn erbyn tystiolaeth, a rhaid fod y cythraul ynddo yn ddweyd y fath beth heno." "Dyna ddweyd da," meddai Morgan. "Amen," meddai Dafydd; "ond gadewch i ni ymadael, oblegid y mae yn myned yn hwyr. Gosodwn y peth o flaen y cwrdd eglwys nesaf."

Yn awr, dymunwn roddi cynghor i'r gweinidog. Yr ydym yn credu nad oes neb wedi fforffetu ei hawl o fod ei enw yn

ysgrifenedig yn y nefoedd, ond yr angylion syrthiedig, sef y drydedd ran o'r nef. Mae enwau y rhai hyny wedi eu tynu allan o'r nefoedd; ond y mae pob ysbryd a ddaeth, ac a ddaw i breswylio mewn corff ar y ddaear yma, â'i enw yn ysgrifenedig yn y nefoedd; a'r llwybr i golli y fawr fraint hon ydyw, anufyddhau i'r efengyl dragywyddol, sef yr hon a bregethir er tystiolaeth, a'r arwyddion yn ei chanlyn; ie, yr hon sydd yn cael eu swnio yn nghlustiau ein cyd-genedl, ac a gyhoeddir gan Saint y Dyddiau Diweddaf.

W. S. Phillips.

---

## CYFLAFAN NAUVOO.

Ton—"Woman Kind."

Dedwydd ddydd, pan y bydd
Llwyr ymwared
O gaethiwed;
Yna cawn heddwch llawn,—
Cawn ein Jubili;
Hawdd yw wylo,
Pan yn cofio
Y carcharu a'r llofruddio,
Fu ar weision
Brenin-Seion,
Gan elynion lu.
O! ddedwydd ddydd, pan y bydd
Llwyr ymwared
O gaethiwed;
Yna cawn heddwch llawn,—
Cawn ein Jubili;
Buan cawn ein Jubili,
Buan cawn ein Jubili.

Wele gynt, ar eu hynt,
Bu prophwydi
Duw'n dirboeni;
O dan draed, yn eu gwaed,
Gwelwyd plant y dydd;
Hyll drybaeddu,
Lladd a llosgi,
Fu ar ffyddlon weision Iesu;
Difa defaid
Ion bendigaid,—
O! yr olwg brudd!
O! ddedwydd ddydd, pan y bydd, &c.

Creulon fu'r fyddin ddu,*
Plant anwiredd,
Mewn cynddaredd,
Difa'r Saint, yn ddifraint,
Fynent idd eu rhan.
Meusydd gwynion,
Drow'd yn gochion,
Lliwiwyd rhai'n â gwaed merthyron;
Trais yn bloeddio,
Swn llabyddio,
Glywid yn mhob man!
O! ddedwydd ddydd, pan y bydd, &c.

Illinois, ble y ffoi
Rhag dïaledd
Duw'r gwirionedd?
Byddi'n sarn, daw dy farn,
Fel trochionawg li.
Carthage anwar,
Hyll dy garchar,
Dydd dy ddifrod ddaw yn gynnar;
Gwaed prophwydi
Sydd yn gwaeddi
Dïal arnat ti.
O! ddedwydd ddydd, pan y bydd, &c.

Teml lân, draw ar dân,
Adeiladau
Yn garneddau;
Teulu'r Oen, mewn du boen,
Fethrid ar bob cam;
Wele'r weddw
Draw yn welw,
A'r amddifad bach yn marw!
Plentyn sugno
Wedi gwywo,
Rhwng oer freichiau 'i fam!
O! ddedwydd ddydd, pan y bydd, &c.

Troes y rhod, canwn glod
I'r Jehofah,—
Cawn ddihangfa;
Babel gau, daw yn glau,
Dydd ei chodwm mawr;
Nef sy'n gwaeddi,
Duw'n cyhoeddi,
"Dïal, dïal deued iddi.
Saint deyrnasant
(Seinier moliant)
Dros y ddaear lawr."
O! ddedwydd ddydd, pan y bydd, &c.

* Mob, painted black.

Prydain fawr, gwilia 'nawr,
Rhag it' wrthod
Gair y Cymmod;
Cwyd dy lef fry i'r nef,
Am drugaredd gu:
Os gwrthodi
'R genadwri,
Ddaeth â bywyd newydd ini,
Mewn dïaledd
Diymgeledd,
Bydd dy dynghed di.
O! ddedwydd ddydd, pan y bydd, &c.

*Llanelli.* DEWI ELFED.

---

## AT LYWYDDION Y CYNNADLEDDAU A'R DOSPARTHWYR.

YR ydwyf yn sylwi fod llai o daliadau am lyfrau Cymreig a Seisnig bob wythnos. Frodyr, beth ydyw yr achos? Y mae hyn yn beth o bwys; agorwch eich llygaid, ac edrychwch i mewn i hyn. Ni ddylai dyledswyddau mor neillduol â hyn gael eu hesgeuluso: dylai llywyddion y cangenau sylwi ar hyn hefyd, ac edrych ar ol eu dosparthwyr, a rhoddi cynghorion parhaus yn eu cynghorau a'u cyfarfodydd; ac ni ellir defnyddio cynghorau a chyfarfodydd at well gwasanaeth, nâ dysgu y Saint i dalu eu dyledion, eu degymau, ynghyd â gwahanol bethau ereill er cario gwaith Duw yn mlaen. Frodyr, peidiwch ag ofni dysgu pethau ag sydd yn iawn i'r Saint; a bydded i chwi deimlo fy mod i yn dweyd wrthych mewn ffydd. Dysgwyliaf arian y Deml i mewn erbyn diwedd y mis hwn, sef rhan o honynt o leiaf, os na ellir eu talu oll.

Bydded i Dduw eich bendithio chwi ag ysbryd eich swyddau, i wneuthur pob peth yn iawn.

W. S. PHILLIPS.

---

## HIRAETH Y BARDD AM SEION.

HIRAETHUS wyf bob nos a dydd,
Am gael o Babel fod yn rhydd,
A derbyn fy nghynnysgaeth wiw,
O fewn i Deml santaidd Duw.

Nis gallaf lai tra ar fy nhaith,
Na cholli deigryn lawer gwaith,
O gariad at y teulu mâd,
Sydd draw yn Seion—hyfryd wlad.

Fel alltud wyf yn mhell o dref,
Mewn gobaith cryf dyrchafaf lef;
Neu blentyn mwyn mewn anial wlad,
A'i gri yn daer am dŷ ei Dad.

'Run modd yn nghanol gormes byd,
A ffug-fawreddau hwn i gyd;
At Seion a'i gogoniant hi,
Y chwydda serch fy nghalon i.

Ni welaf yma i fy rhan,
Un ardal deg—un dedwydd fan,
I'm golwg i ond yn ddim gwerth,
Yn nghanol dadwrdd Babel gerth.

O wlad fy nhadau 'rwyf am ffoi
Heb ragor ynddi o ymdroi,
Nes dêl y dydd o uchel fri,
Daw cyfnod ei hadferiad hi.

Fy nghadarn Iôr, af yn dy nerth,
Er corwynt cryf, a'r cefnfor certh,
A beiddiaf ymchwydd gwyllt y dòn,
Gan frysio draw â'm gwedd yn llon.

O Seion, Seion arnat ti,
Mae 'mryd yn rhedeg fel y lli;
'Does dim is haul ond mwyniant hon,
A leinw serch fy mynwes lon.

O brysied, brysied toriad gwawr,
I'm rhoi yn rhydd o'r cystudd mawr,
I heddwch dwys o faith barhad,
'Nol gorphen gwaith fy Nefol Dad.

*Llanelli.* DEWI ELFED.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

ELECTRIC GAS.—Mae yr ymbrawf o oleuo Llundain ag *electric gas*, yr hwn a geir trwy ddadgyfansoddiad dwfr, ac yn gymhwysiadol hefyd at wresogi, ac fel gallu symudol, ar hanner cost y *gas* arferol; gyda gallu goleuol cyfartal, yn ddi-drystiol, diarogl, ac yn rhydd oddiwrth fwg,—ynghylch cael ei dreio ar ddull eang; ac os dygwydda i lwyddo, dywedir y gwna y pibellau a'r lampau presennol y tro, heb achos eu newid.

Y Gwrthryfelwyr Chiniaidd.—Mae plaid o wrthryfelwyr wedi cyfodi er ys blynyddau bellach yn China, ac y maent wedi cynnyddu mor gyflym nes y maent yn bresennol wedi tynu sylw yr holl fyd. Blaenorir hwy gan benaeth o'r enw Lo, yr hwn, ynghyd â'r holl wrthryfelwyr, ydynt yn fath o Gristionogion; ac hysbysa y newyddiaduron eu bod yn gorchfygu y ffordd yr elont, a bod teimlad y wlad yn gyffredinol o'u plaid. Mae lluoedd yr amherodraeth yn gorfod rhoi dinasoedd mawrion i fyny iddynt yn barhaus; a chredwn na fyddant nemawr o amser cyn ennill yr holl wlad, ac ail-sefydlu y llinach cyfreithlawn ar yr orsedd amherodraethol, yr hyn sydd yn un o achosion y gwrthryfel. Maent hefyd yn ymosod i ddinystrio yr holl ddelwau o'r wlad, ac i sefydlu Cristionogaeth yn lle y grefydd arall. Credant fod cyfiawnder o'u tu, a bod Duw yn cydweithio â hwynt. Dywedir nad ydynt yn ymosod ar unrhyw le, heb gael awgrymiad gan Dduw yn gyntaf i wneyd hyny; a chyfrifant Gristionogion o wledydd ereill yn frodyr iddynt.—Meddyliwn fod Duw fel hyn wedi agoryd drws lled y pen i'w genadon, er myned â'r Efengyl dragywyddol i'r miliynau a breswyliant yn y wlad dywell hono, a bod dydd ar wawrio yn eu plith.

### GEIRIAU LLYGREDIG.

At awdwr Geiriadur aeth gwraig o'i gydnabod,
Gan ddweyd, "'Rwyf yn caru eich llyfr yn hynod."
"Pa beth yw eich rheswm?" gofynai'r boneddig.
"O, am nad oes ynddo ddim geiriau llygredig."
A'r awdwr ddywedai, "'Rwy'n deall eich helynt,
Chwi fuoch yn chwilio yn ddyfal am danynt." T. H.

Troi o'r Gwely.—Yn mhlith y pethau cywrain yn Apsley House y mae gwely plyg, yn yr hwn y cysgai Dug Wellington. Rhyw wr boneddig a'i gwelodd, a ddywedodd, "Y mae mor gul, fel nad oes dim lle i droi ynddo." "Troi ynddo!" ebe ei Radlonrwydd; "pan ddechreuo dyn droi mewn gwely, mae yn bryd iddo *droi o hono.*"

### ENGLYN SEISNIG.

My gout is about—most bitter,—tearing
My toes like a tiger;
Its anguish, and its anger,
And keen bite,—who it can bear. C.

Gwlad o Ryddid.—Papyr Americanaidd, pan yn llefaru am oerfelgarwch y tywydd, a ddywed—"Ni feddwn ni wresfesurydd yn y dref hon; felly y mae yn myned cyn oered ag y myno."

Y Chiniaid a dybiant fod enaid prydydd yn myned i geiliog y rhedyn, o herwydd y cana hyd nes y newyno.

Os byddwn yn gyfoethog, mae yn hawdd cuddio ein golud; eithr os byddwn yn dlawd, nid yw hawdd i guddio ein tlodi. Mae yn rhwyddach cuddio mil o bunnau nag un twll yn ein cochl.

"A LADDWYD Cadben Cook ar ei fordaith gyntaf?" ebe hunan-ddoethyn ar giniaw wrth Sidney Smith. "Credaf mai do," ebe yntau, "eithr na sylwodd efe lawer ar hyny, ond iddo fyned yn mlaen yn uniongyrchol ar ei ail fordaith." Os felly, diau mai mewn byd newydd y mordwyodd, a dyfyrus iawn fyddai ei hanes! Pwy a'i dyry?

---

TALIADAU O MEDI 2 HYD MEDI 8.—Dyffryn Conwy, £1; Sir Ddinbych, £1 10s; Pontytypridd, 10s 4c; Cap Coch, 6s; Rymni, 12s; Georgetown, 5s 1c; Merthyr, £2 10s.—Cyfanswm, £6 13s 5c.

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg ar y 25ain o Fedi; Sir Frycheiniog, ar yr 2il o Hydref; Sir Fynwy, ar y 9fed; Gorllewin Morganwg, ar yr 16eg; Llanelli, ar y 23ain; Caerfyrddin, ar y 30ain; Sir Aberteifi, ar y 6fed o Dachwedd; Gogledd Penfro, ar y 13eg; a Deau Penfro, ar yr 20fed.

Y CASGL.—Parhawn i werthu y "Casgl am y prisiau a enwasom hyd ddiwedd y flwyddyn; ac os bydd rhai yn ngweddill heb eu gwerthu y pryd hwnw, byddwn yn debyg iawn o godi eu prisiau.

☞ Dymunwn ar y brodyr sydd ganddynt lyfrau rhwymedig yma, i alw am danynt mor gynted ag y bo bosibl, onide bydd raid i ni eu gwerthu ar actiwn, er talu am eu rhwymiad.

"T. D."—Gwell gofyn caniatâd i bregethu allan; canys nid yw y drwydded yn rhoi hawl i neb bregethu lle y myno.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 12.] MEDI 17, 1853. [CYF. VI.

## CYFAMMODAU—GAIR O GYNGHOR.

MAE yr Arglwydd wedi agor yr oruchwyliaeth fawr ddiweddaf hon trwy adferyd y Cyfammodau Tragywyddol i ddyn, ac y mae cyfammodau yn ran arbenig o gynllun yr iachawdwriaeth. Mae i bob cyfammodau eu rhwymedigaethau, ac y mae cyflawniad ffyddlawn o'r rhwymedigaethau hyny yn dwyn bendithion a gwobrwyon penodol. Eithr o'r ochr arall, pan dorir cyfammodau, ac yr anmherchir eu rhwymedigaethau, y mae cospedigaethau, yn gyfartal mewn maintioli i natur a phwysigrwydd y cyfammodau a dorir, yn cael eu gweinyddu.

Derbynir bendithion iachawdwriaeth trwy rinwedd cyfammod. Pan gyfammodo dynion i gadw gorchymynion Duw, efe a rodda iddynt o'i Ysbryd; ac wrth gadw rhwymedigaethau y cyfammod hwnw, trwy dderbyn yr ordinhadau, y mae perthynas o'r cymmeriad mwyaf dyrchafedig yn cael ei ffurfio. Os yw person yn anrhydeddu y berthynas hono fel ag i gael bendithion ei gyfammod, yr Arglwydd yn fuan a ddadguddia fendithion a breintiau mwy, y rhai y gall y person eu mwynhau yn y teulu trwy fyned dan rwymedigaethau cyfammod arall yn gyfartal mewn pwysigrwydd i'r anrhydedd a'r ffafr ag sydd i'w mwynhau; ac nid yw yr egwyddor yn aros yma, eithr y mae cyfammod yn dilyn cyfammod, hyd nes y byddo dyn, trwy ei ffyddlondeb iddynt, yn dyfod yn un â Mab Duw—yn gyd-etifedd i etifeddiaeth y Tad. Yn awr, y mae hyn yn anrhydedd mawr, i ddyfod yn etifedd cyfreithlawn i deyrnas-

oedd, llywodraethau, gogoniant, a gallu y Tad. Nid yw yn cael ei gyrhaedd mewn diwrnod, mis, na blwyddyn, ac nid yw y bywyd byr hwn yn ddigon er meddiannu pob peth, eithr gellir sicrhau yr hawl iddynt trwy gadw holl gyfammodau yr Offeiriadaeth santaidd, ac y maent hwy yn llawer. Y mae cosp hefyd ynglŷn â phob cyfammod, ac megys ag y mae trugaredd a gwobrwyon yn cael eu hennill trwy eu cadw yn gyssegredig, felly y mae cyfiawnder a chosp mor sicr o gael eu mesur allan i'r troseddwr. Y gosp sydd ynglŷn â thoriad ein cyfammodau cyntaf, yw ymadawiad Ysbryd Duw. Byddai toriad cyfammodau ereill yn gospadwy â marwolaeth a dinystr uniongyrchol yn y byd hwn, eithr gan adael gallu i ddyfod allan yn yr adgyfodiad cyntaf. Ereill o faintioli mwy drachefn, pe torid hwynt, a dynghedent y troseddwr i ddystryw, yn y byd hwn ac yn y byd a ddaw; tra y mae ereill etto o'r maintioli hwnw, pe torid hwynt, nad oes un brynedigaeth yn bod, eithr y mae troseddwyr y fath gyfammodau yn myned yn angylion i Ddiafol, ac nis gallant hwy fyned lle y mae Duw a Christ yn preswylio, yn oes oesoedd.

Y mae ymwneyd â chyfammodau ag sydd mewn rhyw fodd yn dal cyssylltiad â'n tynghed dragywyddol, yn fater nid o bwys bychan. Mae cyfammodau a rhwymedigaethau yr Offeiriadaeth santaidd yn dragywyddol yn eu canlyniadau; a phan eu gwneir â Duw, ac eu harddelir ganddo Ef, maent nid yn unig yn cael eu gwneyd trwy rinwedd egwyddor dragywyddol, eithr y maent yn cael eu gwneyd â Bôd Tragywyddol.

Y mae cyfammodau ereill yn cael eu gweinyddu gan yr Offeiriadaeth hon, yn mha rai yr adnabyddir mai dyn yw y gallu uchelaf; tra yn y rhai y cyfeiriwyd atynt yn barod, efe yw yr un iselaf, neu ymddibynol. Y mwyaf ei bwys, fe ddichon, o'r holl rai hyn yw y cyfammod priodasol.

Gan nad ydym yma yn bwriadu egluro natur y cyfammod hwnw, digon yw dywedyd, ei fod, mewn egwyddor, yn gymhwys yr un fath â'r rhai hyny a wneir â bodau uwch. Y dyben mawr o gymmodi â'r Arglwydd Iesu Grist, yw dyfod yn un ag ef, fel y gallo pob un fwynhau yr holl fendithion, breintiau, gogoniant, anrhydedd, a gallu, ag a ddichon y naill neu'r llall fod yn alluog o gyfranu neu dderbyn. Mae undeb y rhywiau, trwy rinwedd y cyfammod priodasol, i'r un dyben a bwriad, ac y mae yn rhoi hawl i'r naill i holl fendithion, gogoniant, llyw-

odraeth, a gallu ag a all ddeillio oddiwrth y llall, neu yr hyn a all dyfu allan o'r undeb. Trwy rinwedd hyn, y maent hwy ill dau yn dyfod yn UN. Mae y ddau gyfammod hyn yr un mor gymhwysiadol i bob bodau; a phawb ag ydynt yn alluog i'w hanrhydeddu, a ddylent fyned o danynt, a derbyn eu bendithion, onide nis gallant gyrhaedd cyflawnder o ogoniant. Pe amgen, ofer fuasai i'r cyfammodau hyn erioed gael eu hordeinio er mwyn dyn.

Yn awr, o herwydd ffolineb llawer, yr ysgrifenwn ynghylch y cyfammod priodasol. Mae y rhai a broffesant fod yn Saint, ac hyd y nod Henuriaid (er y llefarwn er eu cywilydd), pa rai sydd ganddynt deuluoedd, a pha rai a ânt o amgylch gan wneyd cyfammodau, yn ddirgelaidd, â menywod ieuainc, y rhai nid oes hawl ganddynt i'w gwneyd, a'r rhai ni wyddant y byddant yn abl i'w cadw. Mae y dull hwn nid yn unig yn gwbl groes i reolau ac attaliadau y cyfreithiau a berthynant i'r cyfammod priodasol, eithr amlyga radd o ffolineb ag sydd yn ffrwyth dygn anwybodaeth, neu radd fawr o ddrygioni. Y cyfryw ddynion ag a anturiant ar freintiau a bendithion y fath gyfammod, heb ganiatâd oddiwrth Dduw yr hwn a'i hordeiniodd, trwy ei was yr hwn sydd yn dal ei allweddau ar y ddaear, a fforffetant bob hawl i'w iawnderau, ac a etifeddant felldith. Pan wneir cyfammodau, mae rhwymedigaethau yn cael eu creu, a rhaid i'r rhwymedigaethau hyny gael eu cyflawni, neu fe ddilyna condemniad, a thrwy hyny gosp. Pan wneler cyfammodau ar amser, a than amgylchiadau, pan na ellir mwynhau bendithion y cyfammodau hyny, cymmera y Diafol fantais o'r sefyllfa annoeth hono, ac a wna y rhwymedigaethau anghyfreithlawn hyny yn aml yn offeryn er dinystr dyn. Yn y dull hyn y mae llawer wedi syrthio yn ysglyfaeth i'w hymddygiad diegwyddor eu hunain.

Pan fyddo dynion yn gosod gwerth mor fach ar y cyfammod priodasol, ag i ymroddi i wneyd cyfammodau â benywod mewn amser a lle nas gall dim lleshad ddeillio oddi wrthynt, a phan y maent hwythau yn anwybodus pa un a gânt ganiatâd byth i'w cadw, edrychwn ar y cyfryw ddynion fel y rhai a fyddent y cyntaf i anmharchu y fath gyfammodau. Ac ni a gynghorem bob menyw dda, hen ac ieuanc, i fod yn ofalus pa fodd y byddont yn cael eu maglu gan y fath gymmeriadau. Y sawl a

gellweiriant felly â phethau santaidd, ac a ymbleserant mewn troseddu tuhwnt i gyffiniau eu hawl, wrth wneuthur cyfammodau, a gant y cyfammodau hyny nid yn unig yn ffynnonell o ofid, eithr yn y rhan fwyaf o achosion a ddiweddant mewn cywilydd a gwarth anorphen. Mor fynych y clywn am ddinystr dynion a benywod, y rhai a anturiasant yn ddiniwed fe ddichon ar dir ymgyfammodi, a'r hwn a brofodd i fod yn ddim amgen nâ'r cam cyntaf i'w trueni dyfodol—tir nad oedd awdurdod ganddynt i rodio arno, ac oblegid hyny nis gallent hwy ddirnad y canlyniadau.

Tybir gan lawer fod rhai Henuriaid ag sydd yn teithio yn y weinidogaeth, â hawl ganddynt i ryw ragorfreintiau mawr, oblegid eu bod wedi dyfod o Seion; eithr ni a gyfaddefwn yma fod ein hanwybodaeth ni mor fawr, fel na wyddom am un yn yr Ynysoedd Prydeinig, yr hwn, a chanddo wraig yn fyw, sydd yn meddu yr hawl trwy gyfraith Duw i wneuthur cyfammod priodasol, yn y cyhoedd neu yn y dirgel, ag unrhyw fenyw arall; a gobeithiwn na theimla neb o'r chwiorydd yn ddrwg o herwydd mai felly y mae. Mae yn beth cyffredin iawn i ddynion yn Lloegr feddu gwragedd nas gallant gytuno i fyw gyda hwynt; eithr hyd y nod mewn amgylchiadau felly, nid yw dynion yn cael eu hawdurdodi i wneyd cytundebau priodas â benywod ereill, hyd nes y byddo ysgariad cyfreithlawn yn cael ei effeithio.

Ni a ddywedwn, gan hyny, wrth ddynion felly yn meddu teuluoedd, Rhoddwch heibio ymgyfammodi â benywod, yr hyn a all mewn rhyw fodd effeithio ar eu tynghed ddyfodol hwy, neu chwithau; os na wnewch, chwi a gollwch yr Ysbryd, ac a ddygir i warth. Mae hyn yn gymhwysiadol neillduol at Henuriaid, ac os talant sylw iddo, ni ânt i'r fath frys enbyd i fyned i Seion, dim ond o herwydd y meddyliant y gallant gael gwraig arall yno. Mae rhai dynion o chwantau cnawdol yn gadael i'w serchiadau gael eu tynu oddiwrth eu cydymmaithion, ac yn aberthu teulu (yr hwn y dylent ei feithrin fel eu bywydau eu hunain), er dilyn eu chwantau llygredig, y rhai a'u harweiniant i waered i uffern; a gwneir y cyfan dan gochl *rhyddid crefyddol*, tra y mae rhai benywod mor wan ag i ganlyn y cyfryw Henuriaid, a phorthi eu nwydau.

Mae yr Arglwydd wedi gwarchod yn dra manwl berthynas

y rhywiau, ac ni oddefa gellwair â'r cyfryw bethau; am hyny, Efe a ddywedodd y gwna yr hwn a edrycho ar wraig i'w chwennych hi, golli yr Ysbryd, ac os na edifarha, efe a wada y ffydd. Pa beth a allai gael ei amddiffyn yn fwy eiddigeddus, pan y mae dyn, heb unrhyw gyflawniad allanol o drosedd, yr hwn y gallai y gyfraith ei adnabod, yn agored i dynghed gwrthgiliwr! Dyma gosp ag a arfaethodd yr Arglwydd i ddyfod ar y rhai a gellweiriant felly â serchiadau a dymuniadau yr enaid dynol. Nid oes achos i neb fyned i'r tywyllwch i gyflawni ei weithredoedd drygionus, a dywedyd, "Nid oes llygad yn fy ngweled," na gwneyd ei gyfammodau anghyfreithlawn yn y dirgel, a dywedyd, "Nid oes neb yn gwybod;" canys y ddedryd hon o eiddo yr Hollalluog a gyrhaedda bob achosion felly, a gall y cyfryw bersonau fod yn sicr y chwilia eu pechodau hwy allan, pan fyddo yr Ysbryd wedi eu gadael, a hwythau wedi eu gadael yn gangenau gwywedig—arddangosiadau o anfoddlonrwydd Duw.

Dylai pob enaid reoli a llywodraethu y serchiadau, y nerthoedd, a'r galluoedd â pha rai y mae wedi ei gynnysgaethu. Y defnydd a wnawn o'r galluoedd a'r cynneddfau a roddodd Duw i ni, sydd yn penderfynu ein teilyngdod yn ei olwg. Cyffroir ni yn benaf gan ein serchiadau—maent hwy yn gynhyrfwyr rhyfeddol i'n holl weithredoedd. Os cyflawn lywodraethir y serchiadau, bydd pob bwriad a dymuniad a dardda o'r ymarferiad o honynt, yn bur a santaidd; eithr os gadewir i'r serchiadau redeg allan yn ddiofal, a'u gwastraffu ar bob peth a ymddangoso yn hyfryd neu ddymunol, caiff y farn ei gorchfygu, a rheswm ei hun yn y diwedd a ddygir yn ddarostyngedig i nwydau aflywodraethus.

Dylai cariad a serchiadau yr enaid gael eu gosod ar y pethau hyny ag ydynt yn dragywyddol, ac oddiwrth ba rai ni fydd achos iddynt byth gael eu gwahanu. Pan fyddo hyn yn cael ei wneyd, gall y serchiadau gael eu hamlygu a'u meithrin, heb ofn iddynt gael eu dinystrio; a gall gobeithion o ddedwyddwch addfedu i lawenydd annhraethadwy. Pan fyddo serchiadau yn cael eu dinystrio, mae gobeithion yn cael eu diddymu, ac y mae yr enaid yn ymdroi o dan wasgfa siomedigaeth, hyd nes, nid anfynych, y ceir esmwythyd mewn marwolaeth anamserol. Profiad llawer calon dyner, llwyr ddiniwed, etto bradychedig, a

chyfarwyddiadau doethineb, a ddywedant, Cerwch yr hyn y mae Duw yn garu, mawrygwch yr hyn y mae Duw yn fawrygu, ac anrhydeddwch yr hyn y mae Duw yn ei anrhydeddu. Eithr pan dyno benyw gymmaint ar ffynnonell ei henaid, ag i roddi yn wirfoddol ei lleshad a'i thynghed dragywyddol i ddwylaw unrhyw ddyn, gadawer hyny fod i un ag sydd yn gyfrifol, ac un a wobrwya ei chariad cyn belled ag i amddiffyn ei lleshad ar gost aberthu ei fywyd. Rhoddodd yr Iesu ei fywyd i lawr er achub y teulu a roddwyd iddo i'w dyrchafu; ac ni ddylai dynion gymmeryd arnynt y cyfrifoldeb o achub ereill, gydag un dysgwyliad arall ond i wneuthur fel ag y gwnaeth Ef. Pe byddai dynion sydd yn dal Offeiriadaeth Duw, yn iawn werthfawrogi eu sefyllfa, meddyliwn na fuasai eisieu eu rhybyddio ynghylch gwneuthur cyfammodau; a phe gwerthfawrogai benywod eu hymddibyniad ar ddyn, byddent yn fwy gofalus ar bwy ei gosodent.—*O'r "Star."*

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 156.]

54. Oddiwrth y cyfieithad ysbrydoledig o Lyfr Genesis, meddyliwyd hefyd fod yr anifeiliaid, ac ymlusgiaid, a bwystfilod y dddaear wedi eu creu ar y chweched dydd; ond Llyfr Abraham a rydd ddesgrifiad llawnach o waith y chweched dydd. Mae yn darllen fel y canlyn:—

"A'r Duwiau a barotoisant y ddaear i ddwyn y creadur byw yn ol ei rywogaeth, yr anifeiliaid a'r ymlusgiaid, a bwystfilod y ddaear yn ol eu rhywogaeth; ac felly y bu, fel y dywedasant. A'r Duwiau a reoleiddiasant y ddaear i ddwyn y bwystfilod yn ol eu rhywogaeth, ac anifeiliaid yn ol eu rhywogaeth, a phob ymlusgiaid y ddaear yn ol eu rhywogaeth; a'r Duwiau a welsant yr ufyddhaent. A'r Duwiau a ymgynghorasant yn mhlith eu hunain, ac a ddywedasant, Awn i waered, a lluniwn ddyn ar ein delw ni, wrth ein llun ein hunain; ac ni a roddwn iddynt arglwyddiaeth ar bysg y môr, ac ar ehediad yr awyr, ac ar yr anifel, ac ar yr holl ddaear, ac ar bob ymlusgiad a ymlusgo ar y ddaear. Felly y Duwiau a aethant i waered i gorffoli dyn ar eu delw eu hunain; ar ddelw

y Duwiau y lluniasant ef; yn wrryw ac yn fenyw y lluniasant hwynt: a'r Duwiau a ddywedasant, Ni a'u bendithiwn hwynt. A'r Duwiau a ddywedasant, Ni a achoswn iddynt ffrwytho, amlhau, a llenwi y ddaear, a'i darostwng hi, ac arglwyddiaethu ar bysg y môr, ac ar ehediad y nefoedd, ac ar bob peth byw a ymsymudo ar y ddaear. A'r Duwiau a ddywedasant, Ni a roddwn iddynt bob llysieuyn yn hadu hâd, ag a ddaw ar wyneb yr holl ddaear, a phob pren ag a fyddo ffrwyth arno, ïe, ffrwyth y pren yn hadu had a roddwn iddynt, i fod yn fwyd iddynt, ac i bob bwystfil y ddaear, ac i bob ehediad y nefoedd, ac i bob peth a ymsymudo ar y ddaear, wele nyni a roddwn fywyd iddynt, ac hefyd ni a roddwn iddynt bob llysieuyn gwyrdd yn fwyd; a'r holl bethau hyn a gant eu rheoleiddio felly. A'r Duwiau a ddywedasant, Ni a wnawn bob peth a ddywedasom, ac a'u rheoleiddiwn hwynt; ac wele, hwy a fyddant yn dra ufydd. A bu mai o'r hwyr hyd y boreu a alwasant yn nos; a bu mai o'r boreu hyd yr hwyr a alwasant yn ddydd; a hwy a gyfrifasant y chwechfed waith.

"Ac felly y gorphenwn y nefoedd a'r ddaear, a'u holl luoedd hwynt. A'r Duwiau a ddywedasant yn mhlith eu hunain, Ar y seithfed tro ni a orphenwn ein gwaith yr hwn a gynghorasom; ac ni a orphwyswn y seithfed tro oddiwrth ein holl waith yr hwn a gynghorasom. A'r Duwiau a gwblasant ar y seithfed tro, oblegid mai ar y seithfed tro y gorphwysent oddiwrth eu holl waith, yr hwn a ymgynghorasant hwy (y Duwiau) yn mhlith eu hunain i'w wneuthur, ac a'i santeiddiasant. Ac felly yr oedd eu penderfyniadau yn yr amser yr ymgynghorasant yn mhlith eu hunain i lunio y nefoedd a'r ddaear. A'r Duwiau a ddaethant i waered, ac a luniasant genedlaethau hyn y nefoedd a'r ddaear, pan luniwyd hwynt yn y dydd y lluniodd y Duwiau y ddaear a'r nefoedd, yn ol yr hyn oll ag oeddynt wedi ddywedyd ynghylch pob planigyn y maes cyn ei fod yn y ddaear, a phob llysieuyn y maes cyn iddo darddu allan: oblegid ni pharasai y Duwiau wlawio ar y ddaear, pan ymgynghorasant i'w gwneuthur, ac nid oeddynt wedi llunio dyn i lafurio y ddaear; eithr tarth a esgynodd o'r ddaear, ac a ddyfrhaodd holl wyneb y tir. A'r Duwiau a luniasant ddyn o bridd y ddaear, ac a gymmerasant ei ysbryd ef (hyny yw, ysbryd y dyn,) ac a'i rhoesant ynddo, ac a an-

adlasant yn ei ffroenau ef anadl einioes, a'r dyn a aeth yn enaid byw.

"A'r Duwiau a blanasant ardd yn Eden o du y dwyrain, ac a osodasant yno y dyn, ysbryd yr hwn a osodasant yn y corff a luniasant. A'r Duwiau a wnaethant i dyfu allan o'r ddaear bob pren dymunol i'r golwg, a daionus yn fwyd: pren y bywyd hefyd, yn nghanol yr ardd, a phren gwybodaeth da a drwg. Ac afon a aeth allan o Eden, i ddyfrhau yr ardd, ac oddiyno hi a ranwyd, ac a aeth yn bedwar pen. A'r Duwiau a gymmerasant y dyn, ac a'i gosodasant yn ngardd Eden, i'w llafurio ac i'w chadw hi; a'r Duwiau a orchymynasant i'r dyn, gan ddywedyd, O bob pren o'r ardd gan fwyta y gelli fwyta; ond o bren gwybodaeth da a drwg, na fwyta o hono; oblegid yn y dydd y bwytai o hono, gan farw y byddi farw. Yn awr, myfi, Abraham, a welais ei fod yn ol amser yr Arglwydd, yr hwn oedd yn ol amser Kolob; canys nid oedd y Duwiau etto wedi penodi i Adda ei gyfrif ef.

"A'r Duwiau a ddywedasant, Gwnawn amgeledd cymhwys i'r dyn, canys nid da bod y dyn ei hunan; am hyny, lluniwn amgeledd cymhwys iddo. A'r Duwiau a wnaethant i drwmgwsg syrthio ar Adda; ac efe a gysgodd, a hwy a gymmerasant un o'i asenau ef, ac a gauasant gig yn ei lle hi; a'r asen yr hon a gymmerodd y Duwiau o'r dyn, a luniasant yn wraig, ac a'i dygasant at y dyn. Ac Adda a ddywedodd, Hon oedd asgwrn o'm hesgyrn i, a chnawd o'm cnawd i; yn awr gelwir hi yn wraig, oblegid o wr y cymmerwyd hi: o herwydd hyn yr ymedy gwr â'i dad, ac â'i fam, ac y glŷn wrth ei wraig, a hwy a fyddant un cnawd. Ac yr oeddynt ill dau yn noethion, y dyn a'i wraig, ac nid oedd arnynt gywilydd. A'r Duwiau a luniasant o'r ddaear holl fwystfilod y maes, a holl ehediaid y nefoedd, ac a'u dygasant at Adda, i weled pa enw a roddai efe iddynt hwy; a pha fodd bynag yr enwodd y dyn bob peth byw, hyny fyddai ei enw ef. Ac Adda a enwodd enwau ar yr holl anifeiliaid, ac ar ehediaid y nefoedd, ac ar holl fwystfilod y maes; ac i Adda yr oedd amgeledd cymhwys iddo."*

Oddiwrth y desgrifiad a roddwyd yma o waith y chwechfed dydd, fe ellir dirnad i'r Duwiau ar y dydd hwnw yn unig

* Llyfr Abraham, wedi ei gyfieithu o'r papyrus Aifftaidd trwy ddawn a gallu yr Ysbryd Glân, gan Joseph y Gweledydd.

"barotoi y ddaear i ymddwyn" anifeiliaid, pethau byw, bwystfilod, ymlusgiaid, a dyn. Y Duwiau hefyd a gyngorasant yn mhlith eu hunain, ar y dydd hwnw, pa beth a roddid i ddyn, a phob rhywogaeth o anifeiliaid, yn fwyd: penderfynasant hefyd ar yr arglwyddiaeth pa un a roddent i ddyn ar ol ei ffurfiad: a llawer rhagor o bethau a benderfynwyd ar y chwechfed dydd, yn uchel gynghor y Duwiau, o barthed i greadigaeth ddyfodol o fodoliaeth llysieuol ac anifeilaidd ar y ddaear. Yn ystod y cyfnod neu y chwechfed dydd hwn, ymddengys fod y nefoedd a'r ddaear wedi myned dan resi o gyfnewidiadau, parotoadau, a gwreiddiol drefniant, yn rhagbarotadol i arweiniad i mewn anifeiliaid a llysiau, pa rai oeddynt i sefydlu cwblhad neu ddiweddiad y greadigaeth dymmorol hon. Ond pa bryd y crewyd yr anifeiliaid a'r llysiau yn dymmorol? Oddiwrth y desgrifiad a roddwyd, crewyd hwynt allan o'r ddaear yn ystod y seithfed dydd neu gyfnod.

Prawf pellach etto, fod corff tymmorol dyn wedi ei ffurfio ar y seithfed dydd, a roddir yn yr "Allwedd i Ddadguddiad Sant Ioan," yr hwn a ddadguddiwyd i Joseph y Gweledydd. Yn yr Allwedd hon, yr holiad canlynol a ofynir:—"Pa beth ydym ni i ddeall wrth udganiad yr udgorn, a grybwyllir yn yr wythfed bennod o'r Dadguddiad?" Yr Arglwydd a atebodd yr holiad fel y canlyn:—"Yr ydym i ddeall megys ag y gwnaeth Duw y byd mewn chwech diwrnod, ac ar y seithfed dydd iddo orphen ei waith a'i santeiddio, ac hefyd ffurfio dyn allan o bridd y ddaear; felly hefyd, yn nechreuad y seithfed milflwyddi, yr Arglwydd Dduw a santeiddia y ddaear, ac a orphen iachawdwriaeth dyn, ac a farna bob peth, ac a wareda bob peth, oddieithr yr hyn na osododd efe yn ei allu, pan fyddo wedi selio pob peth, hyd ddiwedd pob peth: ac udganiad udgyrn y saith angel, yw parotoad a gorpheniad ei waith, yn nechreu y seithfed milflwyddi;—parotoad y ffordd o flaen amser ei ddyfodiad."

Yma dywedir wrthym yn amlwg, i "Dduw wneyd y byd mewn chwech diwrnod, ac ar y seithfed dydd iddo orphen ei waith a'i santeiddio ef, ac hefyd ffurfio dyn allan o bridd y ddaear." Dyn oedd, gan hyny, wedi ei ffurfio allan o'r pridd, nid ar y chwechfed dydd, ond ar y seithfed.

55. Megys ag y ffurfiwyd pabell Adda allan o'r pridd, ar y seithfed dydd, felly yr oedd pabellau pob rhywogaethau o anif-

eiliaid, adar, a physgod, ynghyd â phob amrywiaeth o lysiau, oll wedi eu ffurfio ar y seithfed dydd. Y meddylddrych hwn a ddadguddir yn amlwg yn nghyfieithad ysbrydoledig Joseph Smith o'r ail bennod o Genesis, o ba un y gwnaethom eisoes enghraifft yn y 18fed gwahanran; wrth gyfeirio at ba un, fe welir taw dyn oedd y "cnawd cyntaf ar y ddaear, y dyn cyntaf hefyd," a chan y gwnaed ef ar y seithfed dydd neu gyfnod, rhaid fod y lleill oll wedi cael eu gwneyd ar y seithfed. Yr ardd a blanwyd ar y seithfed, a dyn a osodwyd yn yr ardd ar y seithfed. Pob bwystfil ac ehediad a wnaethwyd allan o'r ddaear, ac a ddygwyd at Adda i gael eu henwi ar y seithfed dydd. Efa hefyd a wnaethwyd o un o'i asenau ef ar y seithfed dydd. Yr holl laswellt, a phlanigion, a choedydd yn ol eu rhywogaethau, a wnaethwyd i dyfu allan o'r ddaear ar y seithfed dydd neu amser. A chyn y seithfed dydd nid oedd llysiau neu fodoliaeth anifeilaidd ar y ddaear. Hyd y nod y cyfieithad Seisnig, neu y cyfieithad anysbrydoledig o'r ail bennod o Genesis, a rydd yr un meddylddrych, sef mai y dyn a wnaed gyntaf, ac wedi hyny yr anifeiliaid a'r llysiau, a bod yr holl drefniant hwn o fodau byw wedi eu gwneyd yn naturiol, allan o'r ddaear, ar y seithfed dydd. Y bennod gyntaf o Genesis, mor bell ag y mae y bodau byw hyn yn perthynu, sydd hanes yn unig o'u creadigaeth ysbrydol, megys ag y dangosasom yn y rhan flaenaf o'r traethawd hwn.

*(I'w barhau.)*

*Llanelli.* *Cyf.* D. E. JONES.

---

## PREGETHU CRIST.

*Ymddyddan rhwng Ifan y Methodist, Rhys y Bedyddiwr, a Thomos y Sant.*

*Ifan*—Dydd da i chwi, Rhys; yr oeddwn yn awyddus am gael cyfle i siarad ychydig â chwi, o berthynas i'r bregeth neithiwr. A oeddech chwi yn cydfyned â phregeth felly, ag oedd mor amddifad o sôn am Grist? Mae arnaf ofn fod eich pregethwr chwi yn myned yn rhy debyg i'r Mormoniaid, trwy beidio sôn am Grist a'i ddyoddefiadau, ac am waed y groes.

*Rhys*—Yn wir, Ifan, meddyliwyf fod llawer o wirionedd yn

eich geiriau: mae ein gweinidog ni yn sôn llawer rhy fach am waed y groes, ac efallai ormod ynghylch gallu dyn, a phethau o'r fath hyny. Dichon fod llyfrau y Seintiau wedi effeithio arno; canys mi a wn ei fod yn eu darllen yn aml. Clywais ef yn dweyd fis yn ol nad gwiw pregethu mwy na mwy am Grist a'i ddyoddefiadau, a pheidio sôn dim am y geiriau a lefarodd.

*Ifan*—Ust, dyma Tomos y Sant yn dod atom. Gofynwch chwi rywbeth iddo ynghylch pregethu Crist; canys yr wyf fi wedi dweyd wrtho yn flaenorol na siaradwn air ag ef byth wed'yn.

*Rhys*—Wel, Tomos; sut y mae arnoch? A ydych chwi yn parhau gyda'r ffydd newydd o hyd, os mai ffydd ydych yn ei galw. Mi glywais i eich bod yn dechreu gweled y twyll.

*Tomos*—Parhau! Pwy ddyn na pharhäai, pan y byddo yn dechreu gweled y twyll? Mi a fum heddyw yn eich cymmydogaeth chwi yn dangos y twyll i ereill, ac y maent hwythau yn dechreu ei weled hefyd. Yr ydych chwi, mae yn debyg, yn y twyll o hyd, ac heb ei weled etto.

*Rhys*—Mae digon o ateb gyda chwi, fel arferol; mae y Mormoniaid yn lled lew am hyny. Eithr dywedwch, beth yw y rheswm eich bod yn pregethu mor lleied am Grist, a chymmaint am Joseph Smith, ac ymddangosiad angylion? Oni lwyddech yn llawer gwell, pe na soniasech am bethau felly? Dyna beth sydd gan y wlad yn eich erbyn, y rhan fwyaf. Pe pregethech Grist yn unig, diau y cawsech gystal gwrandawiad ag un sect arall.

*Tomos*—Y rheswm ein bod ni yn pregethu mor lleied am Grist, yw, o herwydd fod ereill o'n blaen wedi pregethu cymmaint, hyd nes yw pawb braidd yn credu yn ei fodoliaeth. Ffolineb yw pregethu rhywbeth, os bydd dynion yn ei gredu yn barod. Yr ydym yn pregethu mwy am y geiriau a lefarodd Crist, nag am dano ef ei hun a'i ddyoddefiadau, &c., oblegid y gwyddom nad yw dynion yn yr oes hon yn hanner credu ei eiriau. Yr ydym hefyd yn pregethu llawer am adferiad yr Efengyl i Joseph Smith, trwy weinidogaeth angylion, o herwydd y gwyddom nas gallant gael iachawdwriaeth heb gredu hyny. Nis gellir bod yn wir gredinwyr yn Nghrist, heb gredu yn y gweision a anfona yn yr oes hon, ac hefyd yn y geiriau a

lefara trwyddynt. Mae yn ddiau y cawsai y Saint fwy o wrandawyr a dyscyblion pe na phregethent ddim yn groes i ewyllys y bobl; ac y mae yn ddiau y cawsai Crist a'r apostolion, a'r prophwydi o'u blaen, lawer iawn mwy o ddyscyblion pe boddlonent y bobl, trwy bregethu yn unig yr hyn oeddynt hwy yn gredu, a gadael dadguddiad presennol o'r neilldu. Ond nid i foddloni ac achub pawb y danfonir gweision Duw; eithr i achub yr ychydig a'u credant. Satan yn unig oedd yn bwriadu achub pawb, heb adael neb yn golledig; eithr dim ond y rhai a gredant genadwri ei weision, a fwriadir eu hachub gan Grist.

*Rhys*—Yr ydych chwi yn rhesymu yn lled dda, ond yr wyf fi yn methu gweled na allech chwi adael llonydd i Joseph Smith, Brigham Young, angylion, Llyfr Mormon, dadguddiad, tystiolaeth, &c., yn eich pregethau cyhoeddus, a'u dysgu yn ddirgelaidd i'r bobl wedi eu bedyddio. Oni fyddai hyny yn llawer doethach, nâ pheri i'r bobl dasgu ymaith o hyd o'ch cyfarfodydd? Mae yn well i chwi bregethu Crist i'r bobl yn gyntaf; ac wedi eu cael i'ch heglwys, gellwch bregethu pethau ereill iddynt wed'yn.

*Tomos*—Dyna beth fuasai twyllo y bobl i'n heglwys, gyfaill Rhys; ac nid wyf fi dros wneuthur hyny. Yr y'm ni am i bawb wybod beth ydym, cyn yr ymunant â ni, fel nas gallo neb ddweyd mai twyllwyr ydym. Os chwiliwch yr ysgrythyrau, cewch weled i weision Duw, yn mhob oes o'r byd, bregethu llawer o bethau nad oedd neb ond eu hunain yn eu credu. Felly y gwnaeth Noah; ac felly hefyd y gwnaeth Crist a'i apostolion. Yr oeddynt i gyd yn pregethu pethau newyddion, pethau ag oedd yn groes hollol i ewyllys eu gwrandawyr, y rhai yn aml a dasgent o'u cyfarfodydd oblegid hyny. Mae yn rhwyddach gan bawb i gredu pethau a fu, nâ'r pethau ag sydd yn awr. Felly, nid yw pobl yn cael treial teg ar eu ffydd, ond pan fyddo prophwyd neu was i Dduw yn pregethu yn eu mysg; a phan fyddo gweision Duw ar y ddaear, nid ydynt yn esgeuluso mynegi i'r bobl holl gynghor Duw. Nid ydynt yn gofyn pa beth y mae'r bobl yn hoffi, eithr pregethant iddynt yr hyn a orchymynodd yr Arglwydd, a'r hyn fynychaf na fyddo y bobl yn gredu. Mae Saint y Dyddiau Diweddaf yn dilyn eu hesiampl, ac ystyriant mai y ffordd oreu i bregethu Crist yw dangos i'r rhai a broffesant gredu yn ei berson a'i ddyoddefiad-

au, fod yn rhaid iddynt hefyd gredu yn ei holl eiriau, ynghyd â'i weision yn y dyddiau diweddaf hyn. Etto, yr ydym yn ystyried fod eisieu doethineb wrth sôn am Joseph Smith, adferiad yr efengyl, &c.; nid gwiw sôn gormod am hyny, ac esgeuluso rhesymau a phrofion. Ond am bregethu yr efengyl, heb sôn am y pethau a nodais, nid efengyl a fyddai: mae yn rhaid i ni dystiolaethu am yr hyn a wnaeth ac a ddadguddiodd Duw yn yr oes hon, nad pwy a anfoddlona.

*Ifan*—Wel, dyma fi yn myned i'r capel i glywed pregethu Crist, yn lle gwrandaw ar y fath gabledd ag a glywaf gan Tomos. Gwareder fi rhag y fath ynfydrwydd.

*Rhys*—Wel, os na ellwch aros, dydd da i chwi. Mae yn bryd i finnau fyned tua thref, ond yr wyf yn caru siarad â chwi Tomos yn fawr, er mor hwyred yw. Yr oedd Ifan yn anesmwyth iawn cyhyd ag y buoch yn siarad, ac etto efe ei hun a geisiodd genyf i'ch hannog i ddechreu. Ond gadawn iddo.

*Tomos*—Ie, gadewch iddo; darfu wirio na siaradai air â mi byth mwy, ac felly gwell oedd iddo fyned, nag aros gyda ni i gael ei demtio i dori ei air; canys y mae sôn llawer am grefydd y Saint, yn ddigon i gynhyrfu hyd y nod yr "etholedigion," a'u gwneyd lawer tro i anghofio eu hunain.

*Rhys*—Gwir iawn, Tomos. Ond gadewch i mi ofyn peth arall i chwi. Beth pe danfonid un o'r Saint yn genadwr at ryw baganiaid na chlywsant air erioed am Grist, oni fyddai raid iddo bregethu Crist yno?

*Tomos*—Byddai yn ddiammau, a phregethu Duw hefyd, yn nghyd â phob peth o'r dechreuad i waered hyd ddyddiau Joseph Smith a'i ganlynwyr; canys rhesymol fyddai i'r paganiaid gael clywed cymmaint â ninnau.

*Rhys*—Diolch i chwi: mae hyna yn ateb y cwestiwn ar ei ben. Cymmaint gwell yw siarad tipyn, nâ bod yn fud fel Ifan, druan. Yr wyf yn awr yn deall llawer o bethau yn well nâ phan gwrddasom. Yr oedd eich eglurhad o bregethu Crist yn lled foddhaol genyf. Mae gormod o ferw am hyny gan lawer; byddai yn well iddynt gredu mwy o'i eiriau, fel y dywedasoch chwi. Ac yn wir, mae ein gweinidog ni yn credu yr un peth, a mawr dda iddo hefyd. Peidiwch synu na fydd i mi a'r gweinidog gymmeryd ein bedyddio genych; canys y mae yr eglurhad a gefais wedi fy argyhoeddi i raddau mawr.

*Tomos*—Wel, mae yn dda genyf glywed hyna. Nis gellwch wneyd gwell peth byth. Cewch dystiolaeth i chwi eich hunan o wirionedd y gwaith, a gwn y bydd dda genych i gofio am y siarad a gawsom y dydd hwn. Felly, ffarwel yn awr, a Duw a'ch bendithio.

*Rhys*—Ffarwel, Tomos, a chan diolch i chwi.

---

## Y BLODYN GWYLLT.

(CYFIEITHAD.)

Ar wyrdd-dwyn cyfagos, lle glaswellt hir dyfant,
I lawr yn annhrefnus i'r gwyntoedd a basiant,
Blodeuyn bach hyfryd, yn newydd flodeuo,
Sydd yno'n weledig: na phasiwn ef heibio;
Er nad yw ond tyfiant ar dwmpath o ddrysni,
Er hyny hyfrydwch ac addysg eill roddi.
Ei flodau heirdd, gwelwch! ei wê, sylwch arni,
A'r hyfryd wawriadau mae'r deilach yn daflu.
Pan fyddom yn tremu ar ei frychau amryliw,
A'i resog linellau sy'n edrych mor harddwiw,
Ac ar ei wych darddiad i fyny o'r glasdir,
Fe welwn yn eglur iawn gywrain fys Natur.
Mae'n hyfryd flodeuyn! ein gofal teilynga!
Blodeuyn bach harddwych! ond sut y daeth yna?
Bu neb yn ei blanu? ai nid yw ddyledus
O'i dyfiad i ofal y garddwr?—Nid hysbys.
O nac yw—blodeua lle na fu bodoliaeth
Un ardd: ar y twmpath, yn wyllt a diwrtaith.
Ni chafodd ei fagu fel rhosyn neu lili,
Ac etto, 'n ei hun, mor brydferth â rhei'ny.
Yn ol fel mae'i fammaeth, sef natur, â'i bwriad,
Yr egyr ei flodau hyfrydol i'r llygad;
Ac â'i beraroglau deniadol gwahodda
Yn fwyn y gacwnen i'w arlwy i wledda.
Pan oedd dail y tymmor ar ddechreu ysbïo,
Y blodyn teg yna o'i gwsg wnai ddihuno;
Ac, aiddgar i adael ei dywyll esgorle,
Wrth deimlo'r twym-ffroad, o'r ddaear ymgodai;
Ac er ond blaguryn, gwnai'r gwlith a phelydrau
Yr haul ei adfywio, nes cyflawn y tyfai;
A'r gwlaw pan ddysgynai i ddyfrhau'r ddaear,
Ei ddail yn olynol a ledent ar wasgar.
Ac 'nawr ei wyrdd baladr a'i flodyn ysblenydd,
Ynt addurn i'r fawnen, a phrawf o Greawdydd.

(1841.)

## COFNODION AM YR HENAFIAID.

Julius Cæsar a ymladdodd 500 o frwydrau gorsafol, ac a laddodd un filiwn a hanner o ddynion.

Manlius, yr hwn a daflodd y Gauliaid i lawr o'r Capitol, a dderbyniodd dri-ar-hugain o archollion, ac a gymmerodd yspail ddwywaith, cyn ei fod yn ddwy-ar-bymtheg oed.

Cato a ddadleuodd 400 o achosion, ac a'u hennillodd oll.

Cyrus a wyddai enwau yr holl filwyr yn ei fyddin—Lucius Scipio y bobl Rhufeinig.

Chaimides a allasai adrodd yr hyn oll a glywodd erioed, yn yr un geiriau.

Julius Cæsar a ysgrifenai, a ddarllenai, a gyfarwyddai, ac a wrandawai ar siarad ei gyfeillion ar yr un amser.

Julius Viator a fu byw i oedran mawr iawn heb yfed dwfr, na defnyddio un math o fwyd gwlyb.

Yr areithydd Corvinus a anghofiodd ei enw ei hun.

Mithridates, brenin Pontus, a lefarodd wrth genadwyr dwy-ar-hugain o genedloedd gwahanol heb gyfieithydd.

Crassus (tadcu i Triumvir Crassus), yr hwn a laddwyd gan y Parthiaid, ni chwerthinodd erioed. Ar gyfrif hyn rhoddwyd iddo y cyfenw Agelastes.

Denatus a ymladdodd 120 o frwydrau, a fu bedwar ugain o weithiau yn fuddugoliaethus mewn ymladdfeydd unigol, ac a dderbyniodd bump a deugain o archollion y tu blaen.—Yr oedd ganddo yn mysg ei arwyddion buddugoliaeth, 70 o wregysau, 8 mural, 3 obsidional, a 14 o ddinesig goronau.

Crybwyllir am athronwr gan Pliny, yr hwn, trwy gael ei daraw â chareg, a anghofiodd lythyrenau yr egwyddor. Dyn arall, tra enwog am ei hurtrwydd, trwy syrthio oddiar ei geffyl, a chael ei daredrynu, a ddaeth yn hynod am fywiogrwydd ei gynneddfau.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Rhinwedd a drygioni a ranant yr holl fyd rhyngddynt; un o honynt a â â'r lliaws, ond llall sydd fwyaf dymunol; un a wna bawb yn druenus, eithr y llall a'u gwna yn ddedwydd; y blaenaf sydd yn cyfranu hyfrydwch gwirioneddol, a'r llall a gyfrana druenusrwydd sicr.

Llawer a gymmerant lai o ofal am eu cydwybod nag am eu cymmeriad. Y dyn crefyddol a ofna, a'r dyn o anrhydedd a ddiystyra y cynnyg i wneuthur gweithred ddrwg.

Wrth gyfranu, y gwrthddyrchau a ddylent fod yr anghenog a'r teilwng; eich dyben, eu lles hwynt, ac nid eich clod eich hunain; y cyfarwyddyd, eich amgylchiadau a'ch anghenion.

SPRINGS ORIORAU.—Gellir dweyd fod un wns o haiarn pur braidd yn anmhrisiadwy, eithr ni a'i galwn yn werth un ffyrling; mae un wns o ddur o'r fath a ddefnyddir at *falance-springs* yn werth 4½c. Gwna yr wns hon o ddur gynnyrchu oddeutu 950 llath o wirs at *falance-springs*, yr hyn sydd werth £13 4s. 2c.; a hyn, wedi ei weithio yn *falance-springs*, a wna oddeutu 7,650 o *springs*, y rhai lleiaf a goreu o ba rai ydynt yn werth 2s. 6c. yr un, ac felly yn werth £956 5s. i gyd, allan o werth ffyrling o haiarn yn y dechreu. Mawr mor werthfawr, ynte, yw llafur dyn.

Y WADD.—Mae y wadd, wrth dwrio o dan y ddaear, bob amser yn troi ei chefn ar yr haul, gan fyned o'r dwyrain i'r gorllewin yn y boreu, ac o'r gorllewn i'r dwyrain yn y prydnawn.

ABSENNOLDEB MEDDWL.—Yr oedd Lessing, awdwr Ellmynaidd lled enwog, wedi hynodi ei hun trwy fawr "absennoldeb meddwl." Ar ei ddychweliad adref ryw noswaith, wedi iddo guro wrth y drws, y gwas a edrychai allan trwy y ffenestr i edrych pwy oedd yno; a chan fethu adnabod ei feistr, a'i gamsynied am ddyeithryn, efe a waeddodd allan, "Nid yw y proffeswr gartref." "O wel!" atebai y dyn absennol, "nid yw wahaniaeth—mi a alwaf ryw bryd arall!" ac efe a gerddodd ymaith yn dawel.

GWIN DEWISOL.—Gofynwyd i Sheridan pa win oedd yn garu oreu, ac efe a atebodd, "Gwin pobl ereill."

MAE cariad at gymdeithas yn naturiol; ond y dewisiad o'n cymdeithion sydd yn fater o rinwedd a doethineb.

---

TALIADAU O MEDI 9 HYD MEDI 15.—Caerdyf, 5s 7c; Dinas, 15s; Pontytypridd, 9s 10c; Aberdar, 14s; Aberamman, 8s; Hirwaen, 3s 2c; Georgetown, 5s; Merthyr, 14s.—Cyfanswm, £3 14s 7c.

"W. D."—Gormod o waith i ni yw boddloni pawb.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 13.] MEDI 24, 1853. [CYF. VI.

## PRAWF PENDERFYNOL NA THWYLLODD AC NA THWYLLWYD SAINT Y GORUCHAF.

GAN ROBERT PARRY, NEU ROBYN DDU ERYRI.

"Nid wyf fi yn ynfydu, O ardderchocaf Ffestus, eithr geiriau gwirionedd a sobrwydd yr wyf fi yn eu hadrodd."—ACT. XXVI, 25.

GWYBYDDUS i awdwr y sylwadau canlynol ydyw ei fod yn dwyn ei hun dan gyfrifoldeb mawr trwy ymyru â dadl dros wirionedd athrawiaeth y doniau gwyrthiol; o herwydd y gwnaeth amddiffyniad gwan fwy o niwed i achos da lawer tro, nag a ddichon i ymosodiad cryf ei wneuthur. Modd bynag, beiddiodd gredu fod y rhesymau a gynnwysant yn cyrhaedd, nid yn unig i debygolrwydd, ond i brawf arddangosiadol *(mathematical demonstration)*: ac os gwel y call eu bod felly, bydd y ffordd yn rhwydd iddo fyned yn ffyddiog yn y dadguddiadau a roddir i'r Saint yn yr oes hon.

Gan y rhaid i'r hanes Beiblaidd am wyrthiau, naill ai cydsefyll neu gydsyrthio gyda thystiolaeth Saint y Dyddiau Diweddaf am y cyfryw, yn ngwyneb y rhesymau canlynol, gocheled y rhai a gollfarnant ereill am eu hanffyddiaeth yn ysgrifeniadau y Saint a fuont feirw, rhag eu cael hwythau dan yr un condemniad am eu hanghrediniaeth yn ysgrifeniadau y Saint sydd yn fyw.

Olrheinir yma i sefyllfa tystiolaeth;—i deilyngdod cynhenid ysgrifeniadau y Saint, ac i gydgordiad eu tystiolaeth, ynghyd ag ychwanegu tystiolaeth awdwr y sylwadau hyn. Mewn

perthynas i sefyllfa tystiolaeth, nid oes ond *un o dair* sefyllfa y dichon tystiolaeth fod ynddi: sef, naill ai yn *anwiredd gwirfoddol*, gyda bwriad i dwyllo arall;—neu yn *anwiredd diarwybod*, oblegid i'r tystiolaethydd gael mewn rhyw fodd ei dwyllo; neu ynte, yn *wirionedd diwrthbrawf*; ac os profir nad yw tystiolaeth y Saint yn dyfod dan y ddau ddosparth blaenaf, rhaid o ganlyniad y perthyn i'r trydydd.

I. Chwilier a ydyw tystiolaeth y Saint yn *anwiredd gwirfoddol*, gyda bwriad i dwyllo arall: ac i'r dyben hyny, ystyrier eu *cymmeriad moesol* ger bron y byd. Prawf cyfatebiad haneswyr Cenedlig ac Iuddewig boreu oes Cristionogaeth, i hanesyddiaeth y Testament Newydd, a phrawf y coelir lluoedd o Saint y Dyddiau Diweddaf gan eu cymmydogion, pan yn mynegi am ffeithiau nad ydynt wyrthiau, ynghyd ag na ellir gwrthod cydgordiad tystiolaeth *tri* o honynt ar lw, mewn brawdlys, fod y Saint, yn yr amseroedd gynt a phresennol, yn arfer dywedyd y *gwir* am bethau yn gyffredin. Haeru fod a dystiolaethant am wyrthiau yn *anwiredd gwirfoddol*, a gynnwysai nad ydynt i'w coelio am ddim a ddywedont; o herwydd fod digon o felldigedigrwydd mewn un a ddywedo gelwydd ar Dduw, i ffurfio celwydd ar bawb a phob peth; eithr nis gellid cyssoni y fath haeriad â hyny, gyda'r prawfiadau a geir eu bod yn arfer dywedyd y gwir am y pethau nad ydynt gyssylltiedig â chrefydd. *Ystyrier etto y dyoddefiadau angeuol yr aethant trwyddynt* o herwydd eu tystiolaeth am Grist. Mae *anwiredd gwirfoddol* mor lawn o ryfyg a pherygl, nas gall un dyn synwyrol ddal yn hir i'w amddiffyn yn gyhoeddus, oddigerth fod rhyw ennill personol mawr i'w gael trwy hyny, ynghyd â bod heb ofn i unrhyw wrthwynebydd allu dynoethi ei anwiredd ger bron y bobl: eithr dyscyblion Crist, er yn llawer, ac er i'w hennill a'u tawelwch personol ymddibynu yn hollol ar eu dystawrwydd, a gyd-dystiasant y clywsant ei leferydd, y gwelsant ei berson, y cydfwytasant, ac y cydymddyddanasant ag ef, wedi ei adgyfodiad oddiwrth y meirw; a pharhasant i gyd-dystio y pethau yna, er iddynt gael eu herlid, eu hyspeilio, eu fflangellu, eu carcharu, a'u merthyru am hyny, y naill wedi y llall yn olynol. O herwydd eu bod felly yr *addefir*, yn gyffredin, fod geirwiredd y dyscyblion am bethau ereill yn sail dda i gredu fod eu tystiolaeth am adgyfodiad Crist yn ddidwyll: a *dylid* addef hefyd fod

geirwiredd Saint y Dyddiau Diweddaf am bethau ereill, yn gystadl sail i gredu fod eu tystiolaeth hwythau am wyrthiau yn yr oes hon yn ddidwyll. Am waith y dyscyblion yn parhau i dystiolaethu trwy ddyoddefiadau erchyll, ar y pryd y gallasent gael tawelwch ond tewi; a'u gwaith yn dal at eu tystiolaeth, ar adeg nad oedd ond naill ai difodiad neu ddamnedigaeth yn eu haros, os yn euog o ddywedyd *anwiredd bwriadol* pan yn cael eu merthyru, addefir ei fod yn sefydlu cywirdeb eu calon y tu hwnt i bob dadl. Yn awr, cofier i'r Gweledydd Joseph Smith, a'i dystion, dystiolaethu iddo ef a hwythau weled, clywed, a theimlo bodau o fyd yr ysbrydoedd; iddynt dderbyn yr Offeiriadaeth apostolaidd dan eu dwylaw, oblegid ei myned o'r ddaear yn herwydd llygredigaeth y rhai a broffesent Gristionogaeth yn y flwyddyn 570: y tystiolaethasant yn gydgordiol â'u gilydd, er iddynt gael eu herlid, eu hyspeilio, eu carcharu, a'u merthyru am hyny; a chofier y cynnygiwyd iddynt dawelwch trwy dewi a sôn, ar adeg nad oedd ond naill ai difodiad neu ddamnedigaeth yn eu haros, os yn euog o gyhoeddi anwiredd bwriadol; o ganlyniad, os yw i'r dyscyblion cyntaf dystiolaethu, yn ngwyneb y fath beryglon, yn sefydlu eu cywirdeb hwy, rhaid ydyw fod gwaith Joseph Smith, a'i dystion, wrth dystiolaethu yn ngwyneb y cyffelyb arteithiau, yn sefydlu eu cywirdeb hwythau yn yr un modd: dyna yr haeriad cyntaf yn cwympo.

II. Ymholer a yw tystiolaeth yr apostolion yn *anwiredd diarwybod*, oblegid iddynt gael mewn rhyw fodd eu twyllo. Er rhyddhau dynion yn gyfan oddiwrth y cyhuddiad o ddywedyd anwiredd *bwriadol*, ni phrawf hyny na chawsant, yn rhyw fodd eu camarwain; a'r haeriad mynychaf a wneir gan elynion dadguddiad ydyw, "i'r Saint gael eu hudoliaethu gan wyrthiau ffugiol; ac iddynt, o herwydd eu twyllo, gredu, a myned i dystiolaethu am danynt oddiar y dyb eu bod yn wirionedd." Deallir fod yr haeriad mynychaf hwn yn cynnwys, nid yn unig fod yr hyn a ddywedant am ffeithiau cyffredin yn hawlio crediniaeth, ond hefyd na thwyllwyd eu dirnadaeth a'u synwyroldeb mewn perthynas i'r pethau nad ydynt wyrthiau: a chan yr addefir, fel yna, nad ydyw y Saint yn llai eu geirwiredd a'u synwyr nâ phobl ereill, mewn perthynas i bethau yn gyffredin, rhaid mai cryn haerllugrwydd yw dadlu iddynt gael eu twyllo

chwaith am ffeithiau eglur, y dywedant eu bod i'w clywed, i'w gweled, i'w teimlo, ac i'w mwynhau yn eu plith. Er hyny, teg yw cydnabod y dichon i ddynion a fyddo gall mewn llawer o bethau, fod yn lled ffol mewn rhyw bethau ereill; ac mai dichonadwy yw i bobl a fynant gael sicrwydd mawr am y naill ffaith, gael hefyd eu twyllo am y llall; ond os eu twyllo a gaffodd yr apostolion cyntaf, rhaid eu twyllwyd naill ai *gwedi*, ac nid cyn marwolaeth Crist; neu *cyn*, ac nid wedi marwolaeth yr Iesu; neu ynte, *cyn a gwedi* ei farwolaeth.

I. A dwyllwyd yr apostolion *wedi*, ac nid cyn marwolaeth Crist? Oddigerth eu twyllo cyn marwolaeth Crist, hawdd yw profi na allesid eu twyllo *wedi* ei farwolaeth; oblegid, ond caniatâu na thwyllwyd hwy *cyn* ei farwolaeth, rhaid eu bod naill ai yn twyllo ereill gydag *anwiredd gwirfoddol* am y ffeithiau o flaen ei farwolaeth, neu ynte dywedasant y gwir; ac os dywedasant y gwir, yna y mae y ddadl ar ben: ond os *anwiredd gwirfoddol* a ddywedasant *wedi* marwolaeth Crist, ar ol i'w holl obaith am lwyddiant ddiflanu, yna nid oedd modd eu twyllo hwynt am bethau y gwyddent, er ys cyn ei farwolaeth, eu bod yn anwireddus; ac heblaw hyny, buasai eu cymmeriad mewn diffyg o elfen y didwylledd sydd ofynol i gyfansoddi meddwl a ddallwyd gan hudoliaeth. A chan nad oedd modd twyllo yr apostolion *wedi* marwolaeth Crist, oddigerth eu twyllo cyn hyny, rhaid i'r haeriad hwn syrthio fel yr un blaenorol. Nid oedd modd chwaith i'r Prophwyd Joseph Smith a'i dystion gael eu twyllo *wedi* ei ferthyrdod, oddigerth eu hudoliaethu cyn hyny, o herwydd mai cyn ei lofruddio y dywedent i'r ffeithiau a gyhoeddasant gymmeryd lle.

II. A dwyllwyd yr apostolion *cyn*, ac nid wedi marwolaeth yr Iesu? Rhaid dywedyd fel o'r blaen, fod yr apostolion wedi ei farwolaeth, naill ai yn mynegi *anwiredd gwirfoddol*, neu ynte, dywedasant y gwir; prawf eu synwyr a'u geirwiredd am bethau cyffredin, ynghyd â'u dyoddefiadau angeuol oblegid eu tystiolaeth, nad oedd ganddynt fwriad i amddiffyn anwiredd; yna rhaid y dywedasant *y gwir:* ac os y gwir a ddywedasant, y mae yn rhaid hefyd i'r ffeithiau a dystiasant eu dygwydd *wedi* marwolaeth yr Iesu fod yn wir. Eithr tystiolaethasant *wedi* ei farwolaeth, am ei adgyfodiad a'i esgyniad, am ddisgyniad yr Ysbryd Glân, am dröedigaeth Paul, ac am lawer o bethau o'r fath

ag ydynt oll yn ffeithiau gwyrthiol: ond gan y rhaid i *un* wyrth, *os yn wirionedd*, ryddhau yr apostolion oddiwrth y cyhuddiad iddynt gael eu twyllo mewn perthynas i'r *gwyrthiau ereill oll*, mae yn canlyn fod yr holl hanes gan y pedwar Efengylwr yn wirionedd, am yr holl ffeithiau gwyrthiol a *ragflaenasant*, yn gystadl ag am yr holl ffeithiau gwyrthiol a *ddilynasant* farwolaeth yr Iesu: felly rhaid i'r ddau haeriad yma syrthio fel y ddau ereill. Yr un fath y rhaid dywedyd am dystion Joseph Smith; y bu iddynt naill ai ymdrechu twyllo ereill wedi ei farwolaeth, neu cyhoeddasant y gwir: os anwiredd bwriadol cyn ei farwolaeth, pa fodd y daliasant i dystio yr unrhyw bethau wedi ei ferthyru, a hwynt mewn perygl o golli eu heinioes? Os cadarn y dystiolaeth dan erlidigaeth, rhaid mai cadarnach pan yn cael eu llabyddio, yn enwedig a thawelwch yn cael ei gynnyg iddynt ond tewi a sôn: a rhaid, o ganlyniad, mai cadarn iawn ydoedd eu tystiolaeth pan yn colli eu bywyd er ei mwyn; a chan ei bod yn gadarn trwy gael ei thystio yn ngwyneb llofruddion arfog, a phob gobaith bydol yn diflanu, rhaid ydyw ei bod yn wirionedd.

III. A dwyllwyd yr apostolion *cyn a chwedi* marwolaeth yr Iachawdwr? Mae y rhesymau blaenorol yn rhoddi prawf mai gwir a ddywedasant; ac os caniateir, er mwyn dadl, mai eu twyllo a gawsant, ac mai gan wyrthiau ffugiol eu twyllwyd, ceir tri gofyniad i'w hateb: sef, mewn perthynas i *ba beth* eu twyllwyd *cyn* marwolaeth Crist? Mewn perthynas i ba beth eu twyllwyd *wedi* marwolaeth yr Iesu? A *chan bwy* y gallasent gael eu twyllo mor waradwyddus?—Bydd i'r sylwadau canlynol gynnwys *dau osodiad*; ac yna, wedi y *casgliad penderfynol*, arweinir ni at amgylchiadau tystiolaeth Saint y Dyddiau Diweddaf.

1. Mewn perthynas i *ba beth* y twyllwyd yr apostolion *cyn* marwolaeth Crist? Yn gyntaf, dywedir y credasant ei fod Ef yn frenin tymmorol; a chyfododd dadl yn eu plith, pwy a fyddai fwyaf o honynt yn ei freniniaeth. Luc ix, 46; Marc ix, 35. Ai ni thwyllwyd hwy am y peth hyn?—Ateb: Cyfaddefasant y meddiannid hwy gan y dyb hon, am nad oeddynt hwy yn deall ymadrodd yr Iesu yn dywedyd wrthynt, "Y traddodid Mab y Dyn i ddwylaw dynion, ac y lladdent ef; ac wedi ei ladd yr adgyfodai ef y trydydd dydd: ac ofni yr oedd-

ynt ofyn iddo" (Marc ix, 31, 32). A gwelir, hyd y nod wedi eu perswadio am adgyfodiad Crist, y bu iddynt ofyn iddo, "Arglwydd, ai y pryd hwn y rhoddi drachefn y freniniaeth i Israel" (Act. i, 6).

Yn ail, nid oedd gan yr apostolion unrhyw ddysgwyliad yr adgyfodai Crist oddiwrth y meirw, yna gan bwy eu twyllwyd, ac efe yn hysbysu iddynt yr adgyfodai y trydydd dydd? Ateb. Fel am y freniniaeth, nid oeddynt hwy yn deall yr ymadrodd, ac ofni yr oeddynt ofyn iddo. Marc ix, 32. Pan ganfu Mair Magdalen y bedd yn wag ar y dydd cyntaf o'r wythnos, ac y dywedodd wrth Pedr ac Ioan, "*Hwy a ddygasant* yr Arglwydd ymaith o'r bedd, ac *ni wyddom ni pa le y dodasant ef*," mynegodd yr Apostol am dano ei hun a'i frawd, iddynt goelio Mair, mai *ei ddwyn ymaith* a gawsai; ac ychwanegodd fel rheswm dros hyny, "Canys hyd yn hyn *ni wyddent yr ysgrythyr*, fod yn rhaid iddo gyfodi o feirw" (Ioan xx, 1—9.) Etto, pan ddywedodd Mair a'r gwragedd ereill wrth yr unrhyw apostolion, ar ol y dygwyddiad yna, ddarfod i angel sicrhau iddynt i Grist adgyfodi o'r bedd, canfyddir fod eu geiriau yn eu golwg hwynt fel gwegi, "ac ni chredasant iddynt" (Luc xxiv, 10, 11). Mae anghrediniaeth Thomas yn dra hysbys. Ioan xx, 24—29. "Ac ammheuodd rhai" o honynt, ebe Mathew xxviii, 17, hyd y nod ond ychydig amser cyn y dywedir i Grist esgyn i'r uchelder.

2. Mewn perthynas i *ba beth* y twyllwyd yr apostolion *wedi* marwolaeth yr Iesu? Yn gyntaf, ymddengys eu twyllwyd mewn perthynas i'w freniniaeth; ond yn lle credu yn ei freniniaeth dymmorol, dysgasant, *wedi* ei farwolaeth, mai un *ysbrydol* ydyw. Ateb. Ond, pa fodd y daeth eu credo i gymmeryd y fath gyfnewidiad annysgwyliadwy, fel ag i beri iddynt gredu, *wedi* marwolaeth yr Iesu, bethau *hollol yn y gwrthwyneb* i'r hyn a gredent cyn ei farwolaeth? Os haerir yr argyhoeddwyd hwynt gan farwolaeth Crist, nad dichonadwy oedd i'w freniniaeth fod yn un dymmorol; ac, yn hytrach na chydnabod mai eu twyllo gawsant, iddynt gofleidio y dyb newydd am freniniaeth *ysbrydol*, megys eu hunig loches rhag gwarth a chywilydd; gellir ateb, fod y geiriau yn Act. i, 6, yn amlygu y tu hwnt i ddadl, hyd y nod wedi y dywedir eu hargyhoeddi o wirionedd adgyfodiad Crist, eu bod yn parhau i feithrin y meddylddrych mai *tymmorol* ydoedd breniniaeth y Messiah: o

ganlyniad, ni ellir haeru iddynt newid eu tyb rhag gwarth; ac yn unol â'r golygiad *na chyfododd Crist o'r bedd, nis gallasent ffugio iddynt eu hunain dyb hollol yn y gwrthwyneb i'r hon a feddiannent cyn hyny:* ac adroddir fel yna yn bendant gan Luc xxiv, 21, lle y gwelir i un a'i enw Clëophas, *ar ol* sôn am farwolaeth Crist, ddangos iddo ef a'i gyd-ddyscyblion gael siomedigaeth fawr, gan fynegi "Ond yr oeddym ni yn gobeithio mai Efe oedd yr hwn a waredai yr Israel." Deallir fod yr ymadroddion yna yr un mor gymhwysiadol at adgyfodiad Crist ag ydynt at ei freniniaeth dymmorol; oblegid am nad oeddynt hyd yma yn credu iddo adgyfodi o'r bedd, y dywedasant hwy yr ymadroddion anobeithiol a chwynfanus hyn.

Yn ail, ymddengys eu twyllwyd mewn perthynas i adgyfodiad Crist. Tri mis *wedi* marwolaeth Crist, ac ond tri mis wedi gommedd o honynt gredu yr hanes am ei adgyfodiad, ceir hwynt nid yn unig a chanddynt newidiad tyb am ei freniniaeth, ond hefyd a newidiad trwyadl yn eu tyb am adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw. Sylwer, ychydig wythnosau *wedi* y dywediad, "*canys hyd yn hyn ni wyddent* yr ysgrythyr, *fod yn rhaid iddo gyfodi o feirw*," yr hanes nodedig hono, a'r ffaith bendant hono oedd y sail y safasent arni yn wrol ac eofn, gan ei thystiolaethu a'i chyhoeddi mewn dull mawreddog a chyda hynodrwydd rhyfedd: a'r ffaith wyrthiol hono hefyd oedd y sylfaen gadarn, ar yr hon yr adeilasant Gristionogaeth, yn gymmaint â dywedyd o Paul wrth y Corinthiaid, "Os Crist ni chyfodwyd, ofer yw eich ffydd chwi" (1 Cor. xi, 17).

3. *Gan bwy* y gallesid twyllo yr apostolion? Ateb. Nid ganddynt eu hunain, am y profwyd iddynt naill ai dywedyd y gwir, neu y dywedasant *anwiredd gwirfoddol.* Os y gwir a ddywedasant, yna nid twyll; ond os anwiredd *bwriadol* a ddywedasant, yna nid oedd modd iddynt allu twyllo eu hunain am ffeithiau y gwyddent hwy eisoes eu bod yn ffug twyllodrus. Nid gan yr Iuddewon eu twyllwyd, o herwydd yr oedd sôn am Grist yn dramgwydd iddynt hwy, a'u holl egni llidiog oedd am lwyr ddyfetha Cristionogaeth oddiar y ddaear. Nid gan y Cenedloedd eu twyllwyd, oblegid fod pregethu Crist yn ffolineb iddynt, ac hwy a fu yn awdurdodi ei groeshoeliad. Nid gan Grist ei hun chwaith y gallesid eu twyllo, *os efe yn farw*: ac heblaw hyny, ar y dybiaeth *na chyfododd Crist o feirw*, rhaid a

fuasai i'r apostolion ei ystyried *naill ai fel un o'r prophwydi cyffredin*, neu ynte fel *twyllwr*; eithr prawf eu traethodau na fu iddynt ei gymmeryd am y *naill na'r llall*, oblegid y pregethasant Ef yn Iachawdwr, iddo adgyfodi, ac iddo esgyn i'r uchelder. Yn awr, gan na allasent dwyllo eu hunain; gan na cheisiasai Iuddewon na Chenedloedd eu twyllo, a chan nad dichonadwy i Grist chwaith eu twyllo, *os efe yn farw*: mae yn canlyn, o anghenrheidrwydd, fod yr apostolion yn llafurio dan hudoliaeth, i'r hon y cawsant eu twyllo, *nid ganddynt eu hunain, ac nid gan neb arall chwaith!* A gwelir fod y casgliad hwn yn eithaf *gwrthun ac afresymol:* ond gan i'r fath gasgliad gwrthun gael ei wneuthur yn rhesymegol oddiwrth y gosodiadau blaenorol, rhaid yw y llecha y gwrthuni o fewn i'r naill neu'r llall o'r gosodiadau rhag-grybwylledig.

*Y gosodiad mwyaf* yw, "Y cafodd yr apostolion, os yn hudoledig, eu twyllo *wedi* marwolaeth Crist, gyda thyb hollol yn y gwrthwyneb i'r dyb oedd ganddynt cyn ei farwolaeth;" a phrofwyd fod y gosodiad hwn yn *wirionedd.*

*Y gosodiad lleiaf* ydyw, "Na thwyllwyd yr apostolion *wedi* marwolaeth Crist, ganddynt eu hunain, na chan Iuddewon, na chan Genedloedd, na chan Iesu Grist chwaith, *os efe yn farw*; a chan i'r darnau blaenaf o'r gosodiad hwn, "Na thwyllwyd yr apostolion ganddynt eu hunain, na chan Iuddewon, na chan Genedloedd," gael eu profi yn wirionedd, yn yr un modd ag y sefydlwyd gwirionedd y *gosodiad mwyaf*, rhaid ydyw nas dichon i'r gwrthuni afresymol lechu ond *o fewn i'r darn olaf* o'r gosodiad lleiaf *yn unig*; sef, yr haeriad "Na ddysgwyd yr apostolion i newid eu tyb gan yr Iesu: ond yn unol â'r *tyb-osodiad fod Crist yn farw*, rhaid yw i'r haeriad yna hefyd fod yn *wir.* Modd bynag, profwyd eisoes nas dichon i'r afresymoldeb lechu ond o fewn i'r haeriad penodol hwn yn *unig*; ac o ganlyniad, am y tyb-osodiad, a'r unig dyb-osodiad a wnelai yr haeriad yn wirionedd, sef y *tyb-osodiad fod Crist yn farw*, mae yn rhaid nad ydyw yn dyb-osodiad cywir, eithr ei fod yn afresymol; felly, rhaid ydyw hefyd fod Crist *yn fyw.* Ond yr amser y rhaid ei fod yn fyw, i allu newid eu tyb, yw yr amser *wedi* iddo farw: gan hyny, rhaid fod Crist yn fyw ar ol ei farwolaeth, ac yr adgyfododd oddiwrth y meirw; eithr os adgyfododd Crist oddiwrth y meirw, nis gellir dywedyd i'r *apostolion gael eu*

*twyllo*; oblegid adgyfodiad Crist o'r bedd yn fyw ydyw y ffaith fawr a amddiffynir ganddynt wedi ei farwolaeth.

Gan y profwyd na thwyllwyd yr apostolion *wedi* marwolaeth Crist, ac na thwyllwyd hwy *cyn* ei farwolaeth, rhaid y profwyd felly na thwyllwyd hwy o gwbl; ac y profwyd, o ganlyniad, yr adgyfododd Crist oddiwrth y meirw, ac i fod tystiolaeth y dyscyblion yn *wirionedd*. Dyma yr haeriad olaf yn gorfod cwympo.

Os bernir yr ymresymiad blaenorol yn ddigon i beri dyn gredu yn adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw, rhaid barnu y ceir ynddo ddigon i'w annog i fod yn gysson â'r gwirionedd, trwy gredu yn esgyniad Crist hefyd; ac o ganlyniad, i gredu iddo anfon yr Ysbryd Glân,—i Stephan ei weled ar ddeheulaw Duw,—iddo ymddangos i Paul ar y ffordd, ac iddo ddanfon *dadguddiad* trwy ei angel, a'i hysbysu i'w wasanaethwr Ioan, yn yr ynys a elwir Patmos; a chan na all un fod yn gysson â'r gwirionedd, heb gredu y cyfan yna, pa fodd y gellir bod yn gysson ag addewidion Crist, heb gredu iddo ymddangos i'r Prophwyd Joseph Smith, ac ereill y profwyd mai gwirionedd eu tystiolaeth yn yr oes hon. Dywedir gan Iesu Grist, yn Dad. xii, i'r Eglwys ffoi i'r anialwch, ac i'r Offeiriadaeth gael ei chymmeryd i fyny at orseddfainc Duw, am 1260 o'n blynyddoedd ni, sef *dyddiau* prophwydoliaethol: a cheir prawf yn *Hanes yr Eglwys*, i'r olaf o'r olynwyr apostolaidd, gael ei ladd yn y flwyddyn 570. Ychwanegu y rhif yna at y llall, a wna y rhif 1830: a dyna y flwyddyn y sefydlwyd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, *wedi* disgyniad yr Offeiriadaeth santaidd oddiwrth orseddfainc Duw, ac *ar* ddychweliad yr Eglwys o'r anialwch.

Gellir crybwyll yn awr am *deilyngdod cynhenid* ysgrifeniadau y Saint. Cydnabyddwyd gan yr anffyddwyr penaf, fod purdeb egwyddorion, uniondeb gorchymynion, a rhinwedd athrawiaethau yr ysgrythyr lân, yn fath nad oes modd i ddyn allu ymfucheddu yn well, er ei hunan gysur, nag wrth fyw yn unol â'u hyfforddiadau. Ni feiddiodd neb a'u darllenodd, wadu nad yw Llyfr Mormon, a Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau yn bur, yn uniawn, ac yn rhinweddol eu hegwyddorion, eu gorchymynion, a'u hathrawiaethau: a chan i holl dduwinyddion y canrifoedd diweddaf arferyd y rheswm canlynol dros un o'r llyfrau, arferir yr unrhyw yma dros y *tri*; am ei fod mor briodol i'r

ddau olaf, ag ydyw i'r un cyntaf, sef, Yr anffyddwyr, er addef eu bod yn *llyfrau da*, a haerant mai *anwiredd* yr ysgrifenwyr, yw dywedyd i'r *Arglwydd ddadguddio* i ddynion eu cynnwysiad. Os *anwiredd* yr ysgrifenwyr yw i'r Arglwydd ddadguddio cynnwysiad y llyfrau cyssegredig, rhaid eu bod yn ddynion *drwg*; ond os oeddynt ddynion *drwg*, pa fodd y galluogwyd hwynt i wneuthur llyfrau mor dda, o fath nad oes modd i ddyn ymfucheddu yn well, er ei hunan gysur, nag wrth fyw yn unol â'u hyfforddiadau? Eithr y llyfrau *sydd dda*, a da y tu hwnt i lyfrau cyffredin; felly, *dynion da* a'u hysgrifenasant; a chan eu bod yn ddynion *da*, rhaid ydyw eu bod yn ddynion geirwir: a bellach, os oeddynt ddynion *geirwir*, rhaid hefyd, o ganlyniad, mai gwirionedd eu dywediad *i'r Arglwydd ddadguddio iddynt* a lefarasant yn ei enw.

Gyda chyfeiriad at *gydgordiad tystiolaeth y Saint*, hysbysir yn yr ysgrythyrau fod y patrieirch a'r prophwydi, dan yr hen oruchwyliaeth, yn derbyn dadguddiadau oddiwrth yr Arglwydd, yn meddiannu doniau gwyrthiol, ac yn cymdeithasu â bodau o fyd yr ysbrydoedd; ac yn unol ag addewid Crist, sef, "Yr arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant," ceir hanes fod apostolion a saint y pum canrif cyntaf o Gristionogaeth, yn derbyn y cyffelyb roddion nefol dan yr orchuchwyliaeth newydd. Gan i saint yr oruchwyliaeth newydd dderbyn yr efengyl trwy ddadguddiad, nid oeddynt yn sylfaenu unrhyw athrawiaeth ar ysgrythyrau yr Hen Destament, yn mhellach nâ'r hyn ydoedd anghenrheidiol er profi i'r Iuddewon, a broffesent gred ynddynt, mai yr Iesu yw y Crist. Yr un fath ag y pregethwyd ganddynt, y pregethasai yr apostolion, hyd y nod pe na buasai yr Hen Destament mewn bodoliaeth ; am hyny, ni cheir hanes iddynt gymmeryd testun pregeth o'r ysgrythyrau; eithr fel y prophwydi gynt, neu yn hytrach fel eu Blaenor bendigedig, cymmerasant amgylchiadau y bobl a'u gwradawai yn destunau, megys y "Duw nid adwaenir," wrth y Cenedloedd,—a llefarasant fel eu tueddwyd gan yr Ysbryd Glân: er hyny, yr oedd cydgordiad yr ysgrythyrau â'u tystiolaeth eu hunain yn ychwanegu ei nerth yn nghlywedigaeth yr Iuddewon. Yn yr un modd y gellir dywedyd, i Saint y Dyddiau Diweddaf dderbyn yr Efengyl trwy ddadguddiad; mai yr un fath ag y pregethir ganddynt, y pregethasent pe na buasai un

o'r ddau Destament o fewn eu cyrhaedd; yna, nid oes achos iddynt ddilyn y dull diweddar, a ddechreuwyd gan Babydd, o gymmeryd testun o'r Beibl, eithr oddiwrth amgylchiadau yr oes, a llefaru fel eu cymhellir gan Ysbryd Duw; oddigerth yr ysgrythyrau sydd anghenrheidiol, nid i ddysgu paganiaid, ond er ychwanegiad nerth eu tystiolaeth, yn nghlywedigaeth y rhai a broffesant gred yn yr ysgrythyrau; ac yn y golygiad yna, nid oes neb a chanddynt gystal sail i barchu y Beibl, â Saint y y Dyddiau Diweddaf; o herwydd fod eu tystiolaeth hwy, ag eiddo y ddau Destament yn cydgordio â'u gilydd, ac felly yn ymgryfhau mewn grymusder nerthol.

Ceir lluoedd a broffesant gred fod duwiolion yr Hen Destament, a duwiolion y Newydd hefyd, yn *gwybod* y maddeuwyd eu hanwiredd, a bod yr Ysbryd Glân yn cyd-dystiolaethu â'u hysbryd hwy eu bod yn blant i Dduw; ac os rhyfygus y dylid galw yr anghredadyn a feiddia ddywedyd *nad yw* yn credu iddynt wybod, wrth ba enw y dylid galw yr un a ddyweda ei fod yn credu yr hanes am y saint a fuont feirw er ys llawer cant o flwyddi yn ol, eithr nas gall gredu cydgordiad tystiolaeth y miloedd Saint sydd yn fyw yn yr oes hon, eu bod hwy yn gwybod? yn enwedig gan i'r Iesu ddywedyd, "Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys Ef (y Tad), efe a gaiff *wybod* y ddysgeidiaeth, pa un ai o Dduw y mae hi, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru." A dywedodd yr Iesu mai Dadguddiad yw y Graig, ar yr hon yr adeilada ef ei eglwys. Ioan vii, 17, a Math. xvi, 16—19.

Anghenrheidiol i un a gred, o herwydd iddo glywed gan rai a glywsant mai gwir yw cynnwysiad yr ysgrythyrau, ydyw iddo chwilio trwy yr oesau a fu, hyd nes deall gan bwy eu cedwid ar hyd y canrifoedd nad oeddynt yn ngafael y cyffredin bobl;—gan bwy yr adysgrifenwyd hwynt, a chan bwy y gwelwyd llaw-ysgrif wreiddiol un awdwr cyssegredig, o ddydd Moses hyd i ddydd Ioan y Difinydd. Anghenrheidiol hefyd yw mynu rheswm paham y gwrthodir Llyfr y Dadguddiad, gan eglwys Alexandria, tra ei derbynir gan Eglwys Loegr; paham y gwrthodir Llythyr Barnabas, a'r eiddo Paul at y Laodicëaid, gan Eglwys Loegr, tra eu cymmeradwyir gan eglwys Rhufain, o law ac ar air yr hon eglwys y gwnaed derbyniad o'r ysgrythyrau ereill oll: ond at gredu y Saint byw, nid oes

anghen ymdrafferthu yn mhellach nag ystyried y teilyngdod sydd yn nhystiolaeth cyd-gordiol cymmaint nifer o ddynion byw a geirwir; rhai y mae llw cyfunol *tri* o honynt yn ddigon i benderfynu unrhyw ddadl bwysig gerbron barnwr a rheithwyr yn y frawdlys uchaf yn y byd. Gellir nodi yn mhellach, nad ydyw nerth tystiolaeth i beri credu yn ddigon, ond mai anghenrheidiol er iachawdwriaeth, yw *gwybod* y gwirionedd yn brofiadol; ac os bydd i rai a gredant y dystiolaeth ufyddhau yn galonog i ammodau yr Efengyl, drwy *edifarhau* am eu pechodau, cael eu bedyddio gan was awdurdodedig, yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, ynghyd â chael arddodiad dwylaw yr henuriaeth, gan gadw pob peth a orchymynodd Iesu Grist eu cadw, bydd iddynt hefyd dderbyn dawn yr Ysbryd Glân, a chael *gwybod* trwy etifeddu tystiolaeth iddynt eu hunain. Pwy a wrthyd fraint mor fawr? Pwy na unai mewn gallu i gyd-gordio gyda thystiolaeth y Saint byw, a thystiolaeth yr holl Saint a fuont feirw, a selio mai geirwir yw Duw? Oblegid y mae *cydgordiad eu tystiolaeth* yn dwyn prawf o'i *gwirionedd.*

Pa dyb bynag a ffurfio darllenwyr y rhesymau blaenorol am eu cadernid, dichon y tybir gan rai o honynt mai lled egwan y canlynol; ond i'r ysgrifenydd, a ganlyn ydyw y cryfaf o'r cwbl: sef, y cafodd ef, yn ei ufydd-dod i'r Efengyl, dderbyn tystiolaeth iddo ac ynddo ei hun: y derbyniodd ef ei dystiolaeth trwy Ddadguddiad; a'i fod ef yn *gwybod* y cafodd ef ei dderbyn i gymmundeb y Saint, yn Eglwys Iesu Grist. Ni bu namyn ychydig gydnabyddiaeth rhyngddo â neb personau yn mhlith y Saint, cyn ei ymuniad â hwynt, ac nad oes llawer o honynt yn adnabyddus iddo y dydd hwn; er hyny, y mae yn tystio nad oes a ddichon ei brynu oddiwrth ei wybodaeth ddiammheuol o'r grefydd a broffesant: a gwelodd fwy o gariad brawdol rhyngddynt â'u gilydd mewn ychydig wythnosau, nag a welodd ar hyd ei oes yn mysg y proffeswyr ereill. Hiliogaeth ddynol yw y Saint; am hyny, ni feiddia ef ammau nad oes anmherffeithrwydd ynddynt, mwy nag y medr ymddiried ynddo ei hunan; ond am y *wybodaeth* fod Saint y Dyddiau Diweddaf yn wir Eglwys Crist, ac i Dad y trugareddau ddadguddio hyny iddo, mewn atebiad i'w weddiau yn enw ac er mwyn yr Iachawdwr, y mae ef yn ymddiried ynddi gyda

sicrwydd mawr; gan hyny, y mae yn dwyn tystiolaeth i'r holl bregethwyr a'r eglwysi a berchir ganddo, ynghyd ag i bawb ereill, fod eu gwadiad o ddoniau gwyrthiol yr oes hon yn gyfeiliornad: y mae yn addaw iddynt, trwy eu hufydd-dod i holl ammodau yr Efengyl, a chael gweinyddu ei hordinhadau iddynt gan weision anfonedig Duw, gyda Saint y Dyddiau Diweddaf, y derbyniant hwy dystiolaeth iddynt eu hunain; ac yna, y gallant hwythau uno gydag ef, i gydgordio tystiolaeth, NA THWYLLODD AC NA THWYLLWYD SAINT Y GORUCHAF.

*At y Saint rhed*, dewis wneyd tro,—rhinwedd
Hedd y gwirionedd a geir yno.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 190.]

56. PA beth oedd hyd pob un o'r cyfnodau a elwir dyddiau yn yr hanes am y greadigaeth? Ni atebodd dadguddiad yn bendant y gofyniad hwn. Ond oddiwrth yr hyn a ddadguddiwyd, gallwn gasglu nad oedd amser yn cael ei rifo yn mherthynas i ddygwyddiadau y greadigaeth, yn yr un dull ag y mae yn awr. Nid ydym yn sicr i'r ddaear gael ei gwneyd i gylchdroi ar ei hechelau yn y cyfnod ag y gwna yn awr. Os oedd gan y ddaear, yn ei ffurfiad cyntaf, gylchdro cyflymach nag yn bresennol, yna rhan o'r dyfroedd ag ydynt yn awr oddiamgylch y ddau barth pegynawl, a fyddent, trwy y gallu canol-barthodawl, wedi gorchuddio y parthau cyhydeddawl, a holl fywyn sylweddol y ddaear a fyddai yn drochedig yn y dyfnder mawr. Hyn oedd sefyllfa ein pellen ddaearol ni, yn yspaid y ddau ddydd cyntaf o'r greadigaeth; ond ar y trydydd dydd, y dyfroedd a gasglwyd ynghyd, a'r tir sych, neu ranau cyfain y ddaear a ymddangosasant. Hyn oll a allesid ei gwblhau trwy yn unig rwystro cyflymdra cylchdroad y ddaear, yr hyn a achosai i'r cefnfor cyhydeddol lifo i'r parthau pegynawl, gan adael cyfandir cyhydeddol o dir sych. Ond buandra cylchdroad y ddaear a leiheid yn fawr islaw ei safon bresennol, mewn trefn i ddwyn oddiamgylch gylch cyhydeddawl o dir sych yn amgylchynu yr holl bellen ddaearawl. Pe cylchdroai y ddaear ar ei phegynau un waith mewn mil o'n blynyddau presennol ni, y fath gylch o

anghenrheidrwydd a ddygid oddiamgylch, oddieithr ei rwystro gan achosion gwrthwynebol: hyd pob dydd a allesid ei reoleiddio gan wahanol gyfnodau o gylchdroad; a'r cyfnodau hyn a allasent fod yn llawer byrach neu yn hwy nag yn bresennol. A thrachefn, y cylchyniadau o oleuni a thywyllwch am y tri dydd cyntaf, nid ymddengys i fod wedi cael eu rheoleiddio gan yr haul, gan hyny gallasent fod wedi bod o hwy neu fyrach parhad nâ'r hyn a welwn ni yn bresennol. Mae erthygl yn Llyfr Abraham, oddiwrth ba un y gallwn gasglu, taw hyd pob un o'r dyddiau hyn oedd un fil o flynyddoedd, megys ag y gwnaeth trigolion y ddaear gwedi hyny gyfrif amser. Wrth lefaru am y felldith a ddisgynai ar Adda yn yr achos y byddai iddo gyfranogi o'r ffrwyth gwaharddedig, y Duwiau a ddywedasant, "O herwydd yn yr amser y bwytei o hono, tydi a fyddi farw yn ddiau. Yn awr, myfi, Abraham, a welais ei fod yn ol amser yr Arglwydd, yr hwn oedd yn ol amser Kolob; canys hyd yn hyn y Duwiau ni phenodasant i Adda ei gyfrifiad." Yr amser ar Kolob, a roddir yn Llyfr Abraham, a ellir ei ddeall oddiwrth yr enghraifft ganlynol:—"Kolob, yn arwyddocau y greadigaeth gyntaf, yr agosaf at y nefol, neu breswylfod Duw. Y flaenaf mewn llywodraeth, a'r olaf gyda golwg ar fesuriad amser. Y mesuriad yn ol amser nefol; yr hwn amser nefol, a arwyddocâ un dydd i bob cufydd. Mae un dydd yn Kolob, yn gyfartal i fil o flynyddoedd, yn ol mesuriad y ddaear hon, ag a elwir gan yr Aifftiaid yn Jah-oh-eh." Un dydd o amser nefol, neu amser yr Arglwydd, sydd yn gyfartal i fil o flynyddoedd yn ol ein mesuriad ni o amser. Adda, gan hyny, os y cyfranogai o'r ffrwyth gwaharddedig, oedd i farw o fewn i fil o flynyddoedd. Mae yn bosibl fod saith dydd y greadigaeth wedi eu rhifo yn ol amser nefol; os felly, yr holl gyfnod raid fod wedi bod yn saith mil o flynyddoedd. Os gwnaethwyd Adda ar ddechreuad y seithfed gyfnod, rhaid iddo fyw yn agos hyd ei diwedd. Nid oes, pa fodd bynag, un sicrwydd pa mor hir oedd y cyfnodau rhai'n.

57. Wedi gorphen y nefoedd, a'r ddaear, a'r anifeiliaid, a'r llysiau, a phob peth perthynol i'r greadigaeth hon, yr Arglwydd a gyhoeddodd y cyfan yn "dda iawn." Blinder, trueni, afiechyd, poen, a marwolaeth, oeddynt yn anadnabyddus. Anfarwoldeb oedd wedi ei argraffu ar ddyn ac ar yr holl deyrnas

anifeilaidd. Pe buasai unrhyw greadur byw yn ddarostyngedig i farwolaeth, neu un dull o boen, ni fuasai yn berffaith yn ei threfniant; nis gallasai fod wedi ei chyhoeddi yn dda; ni fuasai ychwaith yn gysson â gwaith Bod holl-ddoeth a goruchel dda. Perffeithrwydd sydd yn hynodi holl waith Duw; gan hyny, rhaid fod yr holl babellau a wnaeth efe o'r pridd yn gyfaddas i barhad tragywyddol. Mae yn rhaid fod rhyw beth yn gyssylltiedig â'r pabellau cnawdol rhai'n ag sydd yn alluog idd eu cadw hwynt mewn anfarwoldeb. Pa beth oedd y rhywbeth hwn? Diau taw hylif oedd, yr hwn a gylchredai trwy y cyfansoddiad yn mhob rhan o hono, gan ei gadw rhag dadfeiliad, a rhag ei waethygu gan oed, gan adnewyddu, os oedd yn angenrheidiol, unrhyw ran o hono; fel na allai clefyd, afiechyd, poen, na marwolaeth, lywodraethu arno. Yr armerth cylchredawl er trosglwyddiad yr hylif hwn oedd, yn ddiau, y gwythienau a'r rhedweliau, fel yr ymestynant yn mlaen yn gangenau aneirif, ac mewn ymraniadau manol, i bob eithafedd o'r peiriant. Yr hylif, a gylchreda yn awr trwy yr armerth hwn, yw y gwaed; ond nid yw y gwaed yn adnewyddu ein cyfansoddiad, ac yn anfarwoli ein cyrff presennol; gwaed yw ein bywyd naturiol, megys y dywedodd yr Arglwydd wrth Noah:—"Na fwytewch gig ynghyd â'i einioes, sef ei waed" (Gen. ix, 4). Gwaed, yn lle cyfranu bywyd tragywyddol i'r cyfansoddiad, sydd yn cyfranu bywyd naturiol a thymmorol yn unig, ac yn cynnwys ynddo ei hun holl gyffyriau dadfeiliad a marwolaeth neu ymddattodiad. Mae yn rhesymol i feddwl, ynte, fod hylif o natur mwy puredig a bywyd-gyfranol, wedi rhedeg trwy beiriannau corfforol ein rhieni cyntaf, a'r holl greadigaeth anifeilaidd arall—mai yr hylif hwn oedd y goruchwylydd bywyd-gynnaliol a gyfranai anfarwoldeb i bob cnawd, cyhyd ag y cadwent ef yn eu cyfansoddiadau. Gan na allai yr hylif hwn fod yn waed yr hwn a gynnwysai hadau marwolaeth, pa fath ryw sylwedd ydoedd ef? Atebwn, rhaid taw sylwedd neu hylif ysbrydol ydoedd, yr hwn yw yr unig fath o sylwedd ag sydd yn alluog i ddiogelu unrhyw beiriant mewn anfarwoldeb. A oedd unrhyw goed, neu ffrwythau, neu lysiau o un math y rhai a blanodd yr Arglwydd, a gyfrifid, o'u bwyta, a weithredai neu a ddymchwelai weithrediadau yr hylif ysbrydol hwn, ac a ddygai i mewn i'r

cyfansoddiad hylif o natur wahanol? Nid oedd ond un pren yn unig a ddygai i mewn yr effeithiau dinystriol rhai'n—dim ond un pren, ffrwyth pa un, os cymmerid ef i'r cyfansoddiad, a'i cyfnewidiai ef o anfarwoldeb i farwoldeb; yr holl ffrwythau a'r llysiau ereill a gyfansoddasid yn y fath fodd fel na ddygent un niwed; yna hwy oeddynt yr unig fwyd yr hwn a roddodd Duw i'r anifeiliaid anfarwol, pa rai a osododd efe ar y ddaear hon. Gallwn feddwl na chynnwysai y greadigaeth lysieuol, gyda yr eithriad o'r un pren hwn, yn yr amser hwnw, un rhyw wenwyn—unrhyw gyffyriau dadfeiliad a marwolaeth—unrhyw gyd-dueddiadau niweidiol anghymhwys i gnawd ac esgyrn anfarwol. Cyrff Adda ac Efa, a'r holl bysgod, ehediaid, bwystfilod, y rhai a wnaeth Duw yn uniongyrchol allan o'r pridd, a fuasent byw etto mor newydd ac mor deg â phan y daethant gyntaf o law eu Gwneuthurwr, pe na chyfranogasai Adda o'r ffrwyth gwaharddedig. Yr oedd pob ffrwythau ereill yn dda iddynt, a hwy a allasent wledda arnynt i bob tragywyddoldeb, heb ddinystrio eu cyrff anfarwol.

*(I'w barhau.)*

*Llanelli.* *Cyf.* D. E. JONES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

MAE yr hwn a blanodd bren wedi gosod yr elfenau i weithio drosto.

MAE gwybodaeth i'r enaid yn debyg iawn i'r hyn yw goleuni i'r llygad.

TALIADAU O MEDI 16 HYD MEDI 22.—Gorllewin Morganwg, £5; Llanfabon, 3s 6c; Hirwaen, 8s 9c; Georgetown, 17s 2c; Pendaren, 4s 6c.—Cyfanswm, £6 13s 11c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 14.] HYDREF 1, 1853. [CYF. VI.

## UTAH—EI LLYWODRAETHWR, EI CHYMDEITHAS, A'I SEFYDLIADAU.

*(Dyfyniad o Lythyr oddiwrth yr Anrhydeddus L. H. Read, Prif Ynad Utah.)*

[Allan o'r "Bath (U. S.) Advocate.]

*Dinas y Llyn Halen Fawr, Mehefin* 23, 1853.

W. C. RHODES,—Anwyl Syr,—Ar foreu dydd Llun (y 6fed), mi a ymwelais â'i Urddasolrwydd, y Llywodraethwr Young, ac a ddangosais iddo fy nghommisiwn, a chefais fy nhyngu yn rheolaidd ganddo a'm rhoi mewn swydd fel Prif Farnwr Utah. Derbyniwyd fi gan y Llywodraethwr Young gydag hynawsedd a pharch nodedig. Cymmerodd ofal i wneyd fy nhrigfa yn gysurus. Mae y Llywodraethwr Young, mewn moesau ac ymddygiad, yn foneddwr gwrteithiedig. Mae yn dra dillyn a thlws mewn gwisgiad, yn rhydd a phleserus mewn ymddyddan, a meddyliwyf ei fod yn ddyn o dalent neillduol, ac o gynneddfau cryfion a deallgar. Mewn corff, ymdebygola yn fawr i'n diweddar ddinasydd, W. W. McCay. Mi a'i clywais yn anerch y bobl unwaith ar y pwnc o Rydd-ewyllys Dyn. Mae yn lefarwr tra rhagorol: ei ystum yn hynod brydferth, ei barabliad yn eglur, a'i araeth yn felys. Ymdebygola ei lais yn fawr iawn i'r Barnwr Hiram Gray, o Elmira. Adeiladwyd fi yn fawr trwy ei araeth a'i ddull. Mae y Llywodraethwr yn ddyn tra hyddysg yn nhrefniad goruchwylion. Fel

Llywodraethwr Gwladol y Diriogaeth, ac Arolygydd yr Achosion Indiaidd, gallem yn naturiol feddwl fod ganddo lawn gymmaint ag a allai un dyn ei wneuthur; eithr mewn ychwanegiad at y swyddau hyny, y mae hefyd yn Lywydd yr Eglwys—sefyllfa ag nad yw mewn un modd yn swydd segur. Mae ei fusnes ei hun yn helaeth; medda amryw felinau malu a llifio, a charia yn mlaen lawer iawn o oruchwylion amaethyddol, yr hyn oll a arolyga ei hun. Yr wyf wedi penderfynu yn fy meddwl nad oes un dyn wedi cael ei gam-ddarlunio yn fwy nâ'r Llywodraethwr Young, a gwn ei fod yn ddyn a ad-dala garedigrwydd a bwriadau da mor wresog a rhydd â neb—eithr os anmherchir ef, neu wasgu arno yn ormodol, meddyliwyf y y ceir ef yn dra anhawdd i'w drafod.

Mae Dinas y Llyn Halen yn rhyfeddod. Nid oes etto chwech mlynedd er pan ddaeth y *pioneers* blaenaf i'r dyffryn hwn. Nid oedd y pryd hwnw un preswylydd gwareiddiedig o fewn pum cant o filltiroedd, na'r argoel leiaf o wareiddiad neu ddiwylliad. Nid oedd gan y bobl ddim yn y byd, ond yr hyn a ddygasent ganddynt yn eu wageni, dros y gwastad-diroedd o'r Taleithiau. Mae y tir yn naturiol galed a sych, ac ychydig a gynnyrchir heb ddwfrhau. Dros y flwyddyn gyntaf a'r ail, dyoddefodd yr ymsefydlwyr yn fawr o eisieu lluniaeth a ddiddosrwydd cyfaddas. Ymborthent yn benaf ar wreiddiau, ac weithiau gorfodid hwynt i fwyta ceffylau a chwn. Yn bresennol, pa fodd bynag, coda y bobl gyflawnder o bob math o ffrwythau, a digonedd o wenith ac ŷd, ac eidionau o'r fath goreu a welais erioed. Mae y ddinas wedi ei rhanu yn *squares*, ac y mae holl nifer yr erwau yn y cyffiniau bwrdeisdrefol yn ddim llai nâ dwy fil, ac y mae pob lot yn cynnwys oddeutu un erw. Gall unrhyw ddyn o gymmeriad da ac o dueddiadau diwyd gael lot am swm fychan iawn, os ymsefydla arni ac adeiladu tŷ. Gall pob lot yn y ddinas gael eu dwfrhau heb lawer o gost na ffwdan. Cynnwysa y ddinas oddeutu 7,000 o drigolion sefydlog. Sylwais ar nifer fawr o annedd-dai heirdd a chysurus, a rhai gerddi rhagorol. Mae yr adeiladau cyhoeddus ag ydynt wedi eu gorphen, yn gyfleus, wedi eu hadeiladu yn dda, ac yn gwneyd ymddangosiad allanol lled anrhydeddus. Mae y ddinas a'r wlad wedi eu diwallu â chrefftwyr cywrain yn mhob cangen o gelfyddyd.

Ymddengys fod yr holl bobl yn gwneyd yn dda. Maent yn ddiwyd iawn a rheolaidd, ac nid wyf fi yn gweled un rheswm paham na allant fwynhau eu hunain yn gystal â'u cyd-ddinasyddion mewn rhyw ran arall o'r Undeb. Yr wyf wedi bod yn yr eglwys ddwywaith. Mae eu dull yn addoli yn debyg iawn i enwadau ereill. Yr oedd y pregethau a glywais yn cael eu traddodi yn dda, a chymmeradwy. Yr oedd y miwsig yn rhagorol, eiddo y lleisiau a'r offerynau cerdd. Mae yr addoldy yn dra helaeth, a nifer y gynnulleidfa yn gyffredin ynghylch un-fil.

Y prif bersonau ydynt o New York a New England, eithr y mwyrif o orllewin New York. Yr wyf wedi dod yn adnabyddus â'r rhan fwyaf o honynt, ac y maent oll yn garuaidd, cymmwynasgar, a boneddigaidd. Mae genym ychydig yma o bobl Steuben. Y Llywodraethwr Young, a'i frodyr, Phineas, John, Joseph, a Lorenzo, a breswylient gynt yn Tyrone, gerllaw Captain Sebring. Eu Tad a ymsefydlodd yno oddeutu 1819, ac a feddiannai fferm yno dros ryw dymmor. Mae Phineas yn argraffydd, a gweithiai gynt yn Bath, i'n diweddar gyd-ddinasydd parchus, David Rumsey. Mae John Barnard, gynt o Jasper, yma, ac yn gwneyd yn dda. Yr wyf wedi dod yn adnabyddus hefyd â boneddiges oedranus, sef un Mrs. Cory, chwaer i John R. Stephens, o Hornellsville, a merch i Mr. Uriah Stephens, diweddar o Carnisteo. Cefais afael mewn nifer fawr hefyd o gylchoedd Steuben, Yates, Alleghany, Ontario, Tompkins, Chemung, a Livingston. Mae y rhai hyn oll yn New-Yorkiaid o hyd, a gwnant fy nghartref yn llawer mwy cysurus nag y byddai fel arall. Yr ym yn ymgynnull yn achlysurol, ac yn siarad am "yr hen wlad," ac am hen gyfeillion.

Mae agos yr oll o Ddinas y Llyn Halen a Thiriogaeth Utah yn Formoniaid. Ammheuwyf pa un a ellir cael mwy nâ dau gant o *wrth-bleidwyr*. Mae sefyllfa cymdeithas yn wahanol i ddim ag y buom ni yn arferol ag ef. Mae pob materion, neu yn agos felly, a berthynant i achosion crefyddol a theuluaidd, yn cael eu llywodraethu gan yr Eglwys, ac y mae amrafaelion o bob math yn cael eu settlo gan y Cynghorau Eglwysig.

Mae y gyfundraeth o amledd, fel ei gelwir yma (neu amlwreigiaeth mewn gwirionedd), yn ffynu yn helaeth; eithr y mae y rhai hyny a dybiant fod penrhyddid neu afreoleiddiwch

mewn buchedd neu foesau yn ffynu i unrhyw radd, wedi camsynied yn fawr iawn. Mae y gwragedd yn dra gwylaidd a gochelgar yn eu hymddygiad. Mi a gefais y pleser o gael fy nwyn i adnabyddiaeth o nifer ag ydynt yn dra synwyrol a siriol, a meddyliwyf y gellir eu cymharu â boneddigesau gwrteithiedig y Taleithiau. Maent hwy o New York a New England (y rhai yr wyf yn siarad am danynt), ac nid ydynt yn gwahaniaethu dim oddiwrth eu chwiorydd yn y Taleithiau Dwyreiniol. Oddiwrth yr oll a allaf fi weled a dysgu, y mae llai o benrhyddid ac anfoesoldeb yn y ddinas hon a'r diriogaeth, nag mewn un lle arall o boblogrwydd cyfartal yn yr Unol Daleithiau. Mae y gwyr yn eiddigeddus yn erbyn pob ymyraeth yn eu hachosion teuluaidd, ac y mae hudoliaeth a godineb, os eu canfyddir, yn chwannog o gael eu cospi trwy farwolaeth y troseddwr. Mae rhai enghreifftiau o'r natur hyn wedi dygwydd yma. Eich cyfaill gwirioneddol,

LAZ. H. READ.

[Yr Anrhyd. L. H. Read yw y dyn a ddanfonwyd i Diriogaeth Utah i fod yn Brif Farnwr, yn lle y diweddar siomedig Farnwr Brocchus. Cymharer eu tystiolaethau â'u gilydd, ac hawdd ddigon fydd penderfynu pwy sydd yn hysbysu y gwirionedd.—GOL.]

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 212.]

58. YMOFYNWN yn nesaf, pa un a ddarfu i Michael, wedi iddo gymmeryd corff, o dan yr enw Adda, golli neu anghofio ei wybodaeth flaenorol. Mae yn eithaf eglur y rhaid fod Michael, pan y cafodd ofal y byddinoedd yn y nef, wedi gwybod *da a drwg*, i ryw helaethrwydd, o'r hyn leiaf; o herwydd, os oedd yn anwybodus o dda a drwg, nis gallasai fod wedi derbyn unrhyw deilyngdod am gadw ei sefyllfa gyntaf. Os nad oedd yn deall natur drwg, ni ymladdasai yn erbyn un-drydedd ran o luoedd y nef am wneuthur drwg. Os y darfu Michael sefyll allan fel pen campwr eofn dros iawnderau ei frodyr, a thros yr hyn oedd dda, rhaid ei fod wedi deall natur y da. Os nad oedd ysbrydion, yn eu sefyllfa gyntaf, yn adnabod da oddiwrth y drwg, paham y bwriwyd hwy i lawr, a'u rhwymo â "chadwyn-

au tragywyddol o dywyllwch," am wneuthur yr hyn nas gwyddent ei fod yn ddrwg? A wnelai unrhyw dad, yma yn y byd hwn, alltudio ei biant yn dragywyddol o'i bresennoldeb, heb un gobaith am ddychweliad, am wneyd y pethau hyny, pa rai ni wyddent eu bod yn ddrwg! Ein calon a wrth-darawai gyda y dychymmyg am y fath anghyfiawnder mewn tad daearol. A fydd i ni, ynte, arddangos Duw fel yn anghyfiawnach nâ dyn! A ddywedwn ni y cospa efe, â chospedigaeth dragywyddol, yr angylion gwrthryfelgar, heb achos digonol? A ddyfarna efe hwynt i drueni diddiwedd am weithredoedd pa rai ni wyddent hwy eu bod yn ddrwg? Mae yn amlwg, ynte, y gwyddai yr angylion yn eu cyflwr cyntaf, ddrwg a da; ac, am hyny, yr oeddynt yn wrthddrychau gwobr a chospedigaeth am eu gweithredoedd. Ond, pan osodwyd Adda yn yr ardd, ni wyddai efe dda a drwg; am hyny, y wybodaeth yr hon oedd efe unwaith yn feddiannol arni, gyda golwg ar dda a drwg, a gollwyd ac a anghofiwyd. I ba helaethrwydd y collodd ei wybodaeth am wrthrychau ereill, ni hysbysir i ni. Mae yn debygol iawn nad oedd efe yn cofio dim am y dygwyddiadau pa rai a gymmerodd le yn ei sefyllfa flaenorol. Gan ei fod yn feddiannol ar ysbryd deallgar addas i hyfforddiant, efe, yn ddiau a dderbyniodd hysbysrwydd trwy gynhyrfiad uniongyrchol Ysbryd Duw, ac oddiwrth Dduw ei hun, yr hwn oedd yn bersonol gyda ef. Yr oedd ganddo ddeall digonol wedi ei gyfranu iddo, i roddi enwau i holl fwystfilod, anifeiliaid, ac ehediaid yr awyr, pan ddygodd yr Arglwydd hwynt ato ef; cafodd ddeall digonol i wybod fod Efa wedi ei gwneyd o un o'i asenau; am hyny, y dywedodd, "Hon yn awr sydd asgwrn o'm hasgwrn, a chnawd o'm cnawd: hi a elwir gwraig, oblegid hi a gymmerwyd allan o ddyn." Duw a roddodd iddo iaith trwy yr hon yr amlygai ei ddrychfeddyliau. Mae yn hollol debygol nâ chyrhaeddodd Adda wybodaeth o'r iaith yr hon a ymarferai yn ei sefyllfa ysbrydol. Er fod ysbrydion yn arfer iaith, tebygol iawn nad yw eu drychfeddyliau yn drosglwyddedig gyda seiniau trwy gyfrwng awyrgylch yn hyfal i'r eiddom ni. Eu hymddyddanion y naill i'r llall ydynt trwy arwyddion a chyfryngiaeth addas i sefyllfa ysbrydol y byd ysbrydol, tra mae ein hymddyddanion geiriawl ni yn drosglwyddedig trwy awyr. Gan hyny, yr iaith a lefarai Adda, raid fod wedi cael ei rhoddi

yn uniongyrchol trwy ysbrydoliaeth yr Hollalluog, yr un modd ag y rhoddodd efe amrywiaeth tafodau i'r bobl y rhai oeddynt yn adeiladu y twr. Yr un gallu a roddodd iddo yr iaith, ag a roddodd iddo y meddylddrychau a fynegwyd trwy yr iaith. Gan hyny, gallwn yn rhesymol gredu fod ysbryd Michael, pan yr aeth i mewn i'w babell, wedi ei amddifadu o'i holl wybodaeth flaenorol, nid yn unig mewn perthynas i dda a drwg, ond mewn perthynas i bob gwrthddrychau ereill, a bod yr holl wybodaeth a gyrhaeddodd efe yn flaenorol idd ei gwymp wedi ei chael trwy syniad, adfyfyriad, a digyfrwng ysbrydoliaeth; ac ei fod wedi gosod o'r neilldu ei hysbysrwydd blaenorol, a dechreu ar egwyddorion cyntaf gwybodaeth, ac esgyn yn raddol, o wirionedd i wirionedd, hyd oni adennillai yr holl oleuni a'r deall-twriaeth a feddiannai yn y byd ysbrydol, ac hyd y nod mwy, yn gymmaint â'i fod wedi cael ei osod mewn cyflwr i ddysgu pethau trwy brofiad, nas gallesid fod wedi eu dysgu yn y bod-oliaeth ysbrydol.

59. Paham yr amddifadwyd dyn o'i holl wybodaeth flaenorol pan adawodd efe fyd yr ysbrydoedd a dyfod yma? Yr oedd hyn mewn trefn fel y gallai gael ail brawf, neu brofedigaeth, o dan amgylchiadau newyddion a chyflyrau, i ba rai nid oedd efe yn flaenorol wedi bod yn ddarostyngedig. Pe buasai wedi dyfod i'r byd hwn, gan gadw ei wybodaeth flaenorol, llawer o bethau y rhai fyddent yn brofiad i un yn meddu gradd llai o hysbysrwydd, ni fyddai yn brofiad iddo ef; a llawer o brofed-igaethau y rhai ni orchfygent un, yr hwn a ffyddlawn brofwyd trwy bob graddfa olynol o wybodaeth o'i hegwyddorion cyntaf i fyny, a orchfygent ac a hollol fuddugoliaethent dros y dyn a gafodd wybodaeth fawr, ond etto heb erioed fod wedi ei brofi, ac wedi dysgu trwy brofiad, yr anghenrheidrwydd o wrthsefyll temtasiwn trwy holl wahanol raddfäau neu raddau o wybod-aeth o'r egwyddorion cyntaf o honi. Cymmerwyd, gan hyny, oddiwrth ddyn, ei wybodaeth flaenorol, fel y gallai ddechreu drachefn, o dan nifer newydd o amgylchiadau, a dangos ei hun yn gymmeradwy neu yn anghymmeradwy, am ei ymarferiad o bob gradd o oleuni a gwirionedd a roddid iddo. Colledigaeth dyn sydd mewn cyfartalwch i'r gradd o oleuni a gwirionedd o dan ba rai y trosedda. Os y daeth efe yma gyda'r holl wybod-aeth a gafodd yn myd yr ysbrydoedd, ac etto yn anmhrofedig

gyda golwg ar lawer o brofedigaethau, pa rai a amgylchynent ei lwybr yn y bywyd hwn, byddai mor debygol iddo ef gael ei orchfygu ag un a chanddo lai o wybodaeth, ac, am hyny, byddai mewn mwy perygl o ddyfod dan dromach cosp. Yr oedd yn ddoethineb, gan hyny, fod i ddyn golli yn ei ail sefyllfa, ei hysbysrwydd blaenorol, fel y gallasai gael ei gryfhau yn raddol, a dysgu, bob yn ychydig, pa fodd i orchfygu ei anmherffeithderau a gorchfygu pob drwg.

60. Pe disgynasai dyn o fyd yr ysbrydoedd, a chymmeryd cnawd ac esgryn, gyda yr oll o'r wybodaeth flaenorol, ac heb fod wedi cael ei brofi dan yr amgylchiadau newyddion hyn, nis gallasai ei Dad, gyda hyder, ymddiried iddo y bendithion, awdurdod, a gallu, pa rai a fwriadodd efe i ystofi arno ef mewn sefyllfa ddyfodol; oblegid bôd, ag na chafodd ei brofi yn mhob peth, a all beidio goddef y profedigaethau, pe byddai iddynt ryw amser ddyfod arno. Mae yn well iddo syrthio mewn sefyllfa o anwybodaeth hannerog, na syrthio wedi ei ymddiried â gallu; oblegid yn yr achos olaf, niweidiai nid yn unig ei hunan, ond niweidiai yr holl rai hyny dros ba rai y cafodd reolaeth. Am y rheswm hwn y temtir dyn ac ei profir yn mhob peth, trwy holl raddau olynol o wybodaeth, o'r egwyddorion cyntaf o honi hyd oni dderbynio gyflawnder gwirionedd, a gwybod pob peth, ac yna ymddiriedir iddo bob gallu, a phob bodau a gyflawn ymddiriedant ynddo; ond os ffyna un demtasiwn yn ei erbyn a'i orchfygu, ni ymddiriedir iddo bob gwybodaeth a gallu, ac, am hyny, nis gall etifeddu y cyflawnder o ogoniant y Tad.

61. Dyn, heb wybodaeth o dda a drwg, a fyddai mewn cyflwr o ddiniweidrwydd; a chan fod yn anfarwol, heb fod yn ddarostyngedig i boen neu farwolaeth, a fyddai yn hollol anwybodus mewn perthynas i boen neu drueni; nis gellid ei ddesgrifiaw iddo, fel ag i gyflwyno i'w feddwl y meddylrith lleiaf am ei natur. Dim yn fyr o ddyoddef poen a allai gyfranu iddo wybodaeth o barthed iddo. Megys nas gall dyn dall, yr hwn na welodd erioed oleuni neu liw, ffurfio un amgyffred am ei natur, neu megys ag y mae dynsawd byddar, yr hwn erioed ni chlywodd sŵn, yn llwyr anwybodus am natur sŵn; felly, yn yr un modd, Adda ac Efa nis gallasent ffurfio y meddylrith pellaf am boen neu drueni, heb brofi yn eu dynsoddau

eu hunain yr ymsyniad cywraint hwn. Gwybodaeth o boen nis gall byth fod wedi ei holrhain o'r galluoedd rhesymegol, nis gallasent ychwaith fod wedi ei holrhain oddiwrth syniad, oblegid nid oedd un creadur ar y ddaear a ddyoddefodd boen; ac hyd y nod pe gallasid caniatâu iddynt sylwi ar fodau ereill yn goddef poen, nis gallasai gyfranu y meddylddrych iddynt hwy; yna pe byddent byw yn dragywyddol, ni fyddent fyth wedi ennill y wybodaeth hon ond yn unig trwy ei dyoddef eu hunain.

*(I'w barhau.)*

*Llanelli.* *Cyf.* D. E. JONES.

---

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 100.]

NID lliosogiad y bodau dynol yw unig duedd-nod priodas, eithr y mae llywodraeth gyfiawn y bodau hyny yn gyssylltiedig â hi. Pe cynnydd wrtho ei hun a fuasai y bwriad, yna gallesid ei gyflawni trwy y drygionus, yn gystadl â thrwy y cyfiawn; eithr profasom eisoes nad yw Duw foddlawn gyda chynnydd y drygionus: cyfyd yr achos o'r anfoddlonrwydd yma oddiar y llywodraeth anghyfiawn a arferir yn eu teuluoedd. Mae dyn drwg yn hollol anghymhwys i lywodraethu teulu yn unol â chyfraith cyfiawnder; oblegid er iddo draddodi eirchion cyfiawn, ei esiamplau drygionus a bregethant yn uwch nâ'i eirchion yn nghlustiau ei deulu. Os nad oes unrhyw ddylanwad gan eirchion i reoleiddio ymddygiad y rhieni, pa fodd y dysgwylir y bydd iddynt reoleiddio gweithredoedd y plant? Os na fydd i rieni edifarhau am eu pechodau, a galw ar yr Arglwydd, a chael eu bedyddio i Eglwys Crist, a derbyn yr Ysbryd Glân, a bod yn ddiwyd mewn ufyddhau i bob cais o eiddo y Nefoedd, bydd y plant hefyd yn dra thebyg o galedu eu calonau. Plant ydynt dderbyngar o ddylanwadau; y rhai a barchant fwyaf yw y rhai maent hwy debycaf o'u dilyn. A chan y ceir plant yn gyffredin yn tybied fod eu rhieni uwchlaw pawb ereill, y maent yn dra pharod i gymmeryd eu rheoli gan eu dylanwad, naill ai er da neu er drwg. Oblegid hyn, dywedir gan y gwr doeth, "Hyfforddа blentyn yn mhen y ffordd a ddylai fyned, a phan heneiddio nid ymedy â hi." Nis dichon

rhieni hyfforddi plant yn y llwybr priodol, oddigerth iddynt rodio ynddo eu hunain. Gan hyny, nid oes personau neu genedloedd wedi eu dwyfol awdurdodi i briodi, a lliosogi eu rhywogaeth, oddigerth eu cyfaddasu i'w llywodraethu hwynt yn unol â chyfraith Duw, ac i'w dysgu trwy siampl a gorchymyn y ffordd sydd yn arwain i fywyd tragywyddol a dedwyddwch.

Ymddibyna iachawdwriaeth neu ddamnedigaeth teulu, i radd fawr iawn, ar natur y llywodraeth a arferir yn y teulu hwnw. Os bydd pen y teulu yn ddyn cyfiawn, bydd ei ddylanwad mewn arferiad parhaus yn mhob dosparth o'i dŷ; ei wraig neu wragedd a gyfarwyddir yn barhaus yn mhob egwyddor dda, a defnyddiol, ac uniawn; ei blant a ddysgir yn nghyfraith Duw yn unol â'u hoedran, ymarferiad, a chymhwysderau: ei siamplau a ddilynir; ei holl dylwyth sydd yn ei garu, ei barchu, ac ufyddhau iddo: efe a'u harwain at Dduw, ac a'u dysg yn y modd i fod yn ddedwydd yma ac wedi yma; mae yn cael addewidion oddiwrth yr Hollalluog iddynt hwy a'u hiliogaeth ar eu hol; efe a'u bendithia trwy ysbryd y brophwydoliaeth, yn gyfatebol i allu ac anadliad yr Ysbryd Glân sydd ynddo; ac yn fyr, y mae ef yn brophwyd, patriarch, tywysog, a gwaredwr, i'r oll a roddodd Duw iddo. Y fath ddyn sydd deilwng o deulu; mae ganddo ddwyfol awdurdod i briodi, a lliosogi ei eppil; o herwydd ei fod wrth ddwyn i fyny deulu fel hyn, yn gogoneddu Duw; efe a'u parotoa i gymdeithasu â bodau o urdd uwch yn y nefoedd; trwy ei offerynoliaeth gwneir hwynt yn gyfranogion o fywyd tragywyddol. Cyferbynier y fath drefn o lywodraeth deuluol gyda'r anghyfiawnder a'r annhrefn sydd yn nheuluoedd y drygionus; ac yna dyweder i mi, ai nid yw y cyfryw ddyn yn deilyngach o gael cant o wragedd a mil o blant, nag yw y drygionus o gael ei ymddiried gydag un? Dyweder i mi, ai na fyddai i'r fath ddyn ogoneddu Duw yn fwy, yn iachawdwriaeth teulu mawr a lliosog, na'r dyn drwg yr hwn sydd offeryn i ddwyn damnedigaeth ar ei deulu? Gwrandewch yr hyn a ddywedwyd o barthed i Abraham. "A'r Arglwydd a ddywedodd, A gelaf fi rhag Abraham yr hyn a wnaf; a minnau yn gweled y bydd Abraham yn genedlaeth fawr a chref, ac y bendithir holl genedloedd y ddaear ynddo ef? Canys mi a'i hadwaen ef, y gorchymyn efe i'w blant ac i'w dylwyth ar ei ol, a hwy a gadwant ffordd yr Arglwydd, i wneuthur cyfiawn-

der a barn; fel y dygo yr Arglwydd ar Abraham yr hyn a lefarodd Efe am dano" (Gen. xviii, 17—19). Yr oedd yr Arglwydd a dau angel newydd gymmeryd ciniaw gydag Abraham, ac fel y cychwynasant ar eu taith tua Sodom, "Abraham a aeth gyda hwynt i'w hanfon hwynt ar y ffordd." Penderfynodd yr Arglwydd ddadguddio cyfrinach i Abraham mewn perthynas i ddinystr Sodom. Y rheswm dros amlygu y dirgelwch hwn iddo ef, ydyw o herwydd y byddai iddo ef "orchymyn i'w blant ac i'w dylwyth;" ac o herwydd hyn Efe a ddygai arno yr oll a'r a addawodd. Gwelwn fel hyn, mai oblegid y drefn dda a'r llywodraeth gyfiawn a arferodd yr Aml-wreigwr hwn yn ei deulu, y cyfrifwyd ef yn deilwng o gael yr Arglwydd a'i angylion i giniawa gydag ef, i dderbyn dadguddiad mewn perthynas i dynghed y dinasoedd cymmydogaethol, ac i ddysgu y byddai i'r Arglwydd yn ddiau ei wneuthur yn genedl fawr, ac y bendithid pob cenedl ynddo ef. Anrhegwyd yr holl fendithion mawrion hyn megys gwobr am orchymyn ei blant a'i dylwyth yn unol â chyfraith Duw. Ar y llaw arall, mawrion ac ofnadwy oedd y barnedigaethau a ddaethant ar Sodom a'r dinasoedd amgylchynol, oblegid nâ orchymynent eu plant mewn cyfiawnder, na chwaith ystyried cyfraith Duw eu hunain.

Ac hyd y nod yn mhlith pobl Dduw ceir gwahaniaeth, yn codi oddiar ffyddlondeb rhai ac anffyddlondeb ereill. Mae y rhai mwyaf uniawn wedi eu haddasu yn well i lywodraethu teuluoedd nâ'r rhai hyny ag ydynt anffyddlon. Er i'r Arglwydd wneuthur addewidion i Jacob mewn perthynas i olafiaid ei ddeuddeg mab, etto yn herwydd eu drygioni tra yn yr anialwch daeth Ef yn agos i'w dinystrio. Dywedodd yr Arglwydd wrth Moses, "Gwelais y bobl hyn, ac wele, pobl wargaled ydynt: Paid a mi, a mi a'u dinystriaf hwynt, a dilëaf eu henw hwynt oddi tan y nefoedd: ac a'th wnaf di yn genedl gryfach, ac amlach nâ hwynthwy" (Deut. ix, 13, 14). Paham y bu i'r Arglwydd ewyllysio eu dinystrio hwynt, a gwneuthur olafiaid Moses yn genedl amlach nâ hwynthwy? O herwydd fod Moses yn gyfiawnach nâ hwynt, ac o ganlyniad yn llawer addasach i gyfarwyddo a dysgu ei blant, nâ holl Israel; ac yr oedd gan yr Arglwydd ddymuniad mawr i fendithio y rhai oeddynt fwyaf ffyddlawn, gydag amlder olafiaid, tra yr ystyrid

y rhai a wnaethant gamwedd yn mhlith ei bobl yn annheilwng o sefyll wrth ben hiliogaeth liosog. Pe na ddadleuasai Moses gerbron yr Arglwydd ar ran Israel, a chyfeirio at yr addewidion a wnaed i Abraham, Isaac, ac Israel, dichon y buasai i'r Arglwydd eu dinystrio, a chyfodi cenedlaeth gref o Moses, yn eu lle. Ond yr Arglwydd a wrandawodd ar Moses, ac a "edifarhaodd am y drwg a feddyliodd Efe ei wneuthur i'w bobl," Exod. xxxiii.

Yr oedd gan Abraham dylwyth lliosog, cyn i Sarah roddi Hagar iddo ef yn wraig. Yr ydym yn darllen am dri chant a deunaw o hyfforddus weision, "a anesid yn ei dŷ ef" (Gen. xiv, 14.) Yn awr, mae yn hollol debyg fod Abraham yn gyfiawnach a ffyddlonach nâ'r holl eglwys yn ei dŷ; am hyny, ef yw yr unig un yn eu mysg sy genym unrhyw hanes iddo berchenogi ychwaneg nag un wraig. Yr oedd ei ffyddlondeb a'i gymhwysderau i gyfarwyddo a llywodraethu mewn cyfiawnder, yn hawlio iddo fwy breintiau.

Bendithiodd yr Arglwydd Gideon, o herwydd ei fod yn wr cadarn i Dduw, gyda dros ddeg a thri ugain o feibion, ac a'i dewisodd i waredu Israel.

Dafydd, am ei fod yn wr wrth fodd calon Duw, a gymmerodd saith o wragedd cyn esgyn o hono i'r orsedd i lywodraethu dros holl Israel. Yr oedd ef, am ei fod yn brophwyd, yn dra chyfaddas i lywodraethu a chyfarwyddo teulu mewn cyfiawnder. Cyflwynwyd mwy o wragedd a phlant iddo ef, nag i lawer o'i frodyr, o herwydd ei fod yn gymhwysach i'w harwain hwynt i iachawdwriaeth. Wedi cymmeryd o Dafydd saith o wragedd, yr Arglwydd, yn meddwl nad oedd ganddo etto nifer ddigonol, a roddodd i'w fynwes holl wragedd Saul. Sam. xii, 8. Beth yw y dirgelwch fod yr Arglwydd mor awyddus i Dafydd gael cymmaint o wragedd? Oblegid ei fod ef, gan ei fod yn wr wrth fodd calon Duw, yn debycach o achub ei wragedd a'i blant, nâ llawer ereill o Israel, ag oeddynt yn llai eu ffyddlondeb.

Ond pan y troes Dafydd oddiwrth ei gyfiawnder, a chymmeryd gwraig Uriah, yr Arglwydd yn awr a ystyriodd nad oedd ef mwyach yn deilwng o wragedd, ac Efe a'u rhoddodd i'w gymmydog. Hysbyswyd ef gan yr Arglwydd trwy Nathan, y Prophwyd, pe buasai gwragedd Saul, a'r rhai a rodd-

asai Efe eisoes iddo "yn rhy fychan," "Myfi a roddaswn," ebe Ef, "i ti fwy o lawer" (2 Sam. xii, 8); gan awgrymu yn amlwg y buasai iddo Ef, yr Arglwydd, roddi iddo ychwaneg, yn gyfreithlawn, pe arosasai yn ffyddlawn. Ond yn awr efe a fforffetiodd yr oll oedd ganddo. Saul, er iddo fod yn brophwyd, a droseddodd drachefn, ac a wnaeth ei hun yn annheilwng o'i deyrnas—yn annheilwng o'i wragedd—ac yn annheilwng o hyd y nod fywyd ei hunan. Gwragedd a phlant ydynt yn mysg y bendithion mwyaf a gyflwynir ar y cyfiawn. Gan hyny, efe, yr hwn a dderbynia y bendithion hyn, a pharhau yn ffyddlawn, a gyfrifir yn deilwng i dderbyn ychwaneg; ond yr hwn sydd anffyddlawn a gymmerir oddiwrtho, ïe, yr hyn sydd ganddo. Hyn oedd yr achos gyda Saul a Dafydd; eu gwragedd a gymmerwyd oddiwrthynt. Dafydd, gan gymmeryd yr hyn nad oedd yn perthynu iddo, a gollodd ei gyfan.

Dyrchafodd Duw Solomon i eistedd ar orseddfainc Israel; ac ymddangosodd iddo ddwywaith, ac a roddodd iddo ddoethineb mawr uwchlaw i bawb ereill, a'r Arglwydd oedd gydag ef, ac a'i mawrygodd yn rhagorol gerbron holl Israel, a gwrandawodd ei weddi, a llanwodd y deml a adeiladodd gyda chwmwl o ogoniant, a pharodd i dân ddisgyn o'r nefoedd i ysu yr aberth. Yr oedd y dyn mawr hwn yn llawer iawn addasach i hyfforddi plant yn y ffordd a ddylasent fyned ar hyd-ddi, nag unrhyw ddyn arall yn fyw, oblegid rhoddodd Duw iddo fwy o ddoethineb; am hyny, yr oedd ganddo saith cant o wragedd, a thri chant o ordderchwragedd.—1 Bren. xi. Ond troes hyd y nod y dyn doeth hwn ymaith oddiwrth yr Arglwydd, trwy gymmeryd gwragedd o blith y cenedloedd amgylchynol. y rhai oeddynt eilun-addolgar, yr hyn beth a waharddodd yr Arglwydd yn bendant. (Gwel adnodau 1, 2.) Ni chondemniwyd Solomon am briodi llawer o wragedd o'i genedl ei hun; eithr gan iddo droseddu gorchymyn manwl Duw, trwy briodi allan o'i genedl, cafodd ei adael iddo ei hunan, a thröwyd ef ymaith ar ol duwiau eilun-addolgar ei wragedd; a rhwygodd Duw y freniniaeth yn ddwy yn nyddiau ei fab, a rhoddodd ddeg llwyth i arall nad oeddynt o'i hâd.

Gwelir fel hyn, hyd y nod yn mhlith pobl Dduw, fod yno rai yn deilyngach nag ereill, ac o ganlyniad, i Dduw roddi i'r cyfryw fwy o wragedd a phlant, nag a roddodd Ef i ereill. Cyf-

renid y bendithion hyn, fel pob bendithion ereill, yn gyfatebol i gyfiawnder, doethineb, ffydd, santeiddrwydd, a chymhwysderau y rhai hyny a broffesent eu bod yn bobl i Dduw. Rhai yn derbyn mwy, rhai lai, a rhai neb o gwbl, a rhai a gymmerid oddiarnynt, ïe, gynnifer ag a dderbyniasant.

Gan hyny, er pe cyfartal nifer y gwrrywod a'r benywod yn Israel, etto buasai Duw yn anrhegu rhai gydag ychwaneg nag ereill, yn gyfatebol i'w teilyngdod. Fel yr oedd yn mhlith Israel, felly y mae yn mysg pobl Utah. Mae rhai a chanddynt hawl i fwy nifer o wragedd nag ereill, oblegid eu cyfiawnder. Er pe dangosai cyfrifiad y poblogrwydd nifer gyfartal o'r ystlenau yn y Diriogaeth hono, etto ni phrofai hyny fod yr holl ddynion wedi eu cymhwyso yn gyfartal i gyfarwyddo, cynghori, llywodraethu, ac arwain gwragedd a phlant yn llwybrau cyfiawnder. Ni fyddai i dad gyflwyno ar ei blant gyfartal fendithion, awdurdod, a gallu, oddigerth eu bod yn gyfartal ffyddlawn. Brenin doeth, a chanddo lawer o feibion, a gyflwynai awdurdod a gallu ar y rhai hyny yn unig ag a ddefnyddiai yr unrhyw er lles y bobl. Ni ymddiriedai ef y rhai na fyddent ddarostynedig i gyfreithiau da eu hunain, i lywodraethu ereill. Mae ein Tad Nefol yn gweithredu ar yr un egwyddor. Mae yn ewyllysgar fod i bawb fwynhau hawliau a breintiau cyfartal ar y sail o ufydd-dod cyfartal. Ceir i ni hyn wedi ei egluro yn nammeg y talentau; un a gafodd un, un arall ddwy, ac un arall bump. Y rhai a wnaethant iawn ddefnydd o'r hyn a ymddiriedwyd iddynt, a ennillasant ychwaneg: a'r rhai a gamddefnyddiasant eu bendithion, a gollasant yr oll oedd ganddynt: cymmerwyd eu bendithion oddi arnynt, a rhoddwyd hwy i ereill, ag oedd ganddynt yn helaethach. Amlyga hyn y dirgelwch paham y rhoddodd yr Arglwydd, yn yr hen amseroedd, ychwaneg o wragedd i un nag a anrhegodd i arall, pan yn ol pob ymddangosiad yr oedd nifer y gwrrywod a'r menywod oddeutu bod yn gyfartal.

A phan oedd gan amlaf o'i bobl yn gyfiawn, ac yn deilwng o'u hymddiried gyda theuluoedd lliosog, ac heb yno nifer digonol o fenywod i'w diwallu hwynt ag aml-wragedd, darparodd yr Arglwydd iddynt, trwy eu gorchymyn i ddiogelu y menywod caethgludol, a gymmerent mewn rhyfel oddiar genedloedd penodedig. Am hyny y bu i'r Israeliaid, pan wnaethant ryfel

yn erbyn Midian, ladd yr holl ddynion, a chymmeryd y benywod a'r plant yn gaethion. Moses a'u gorchymynodd wedi hyny fel hyn: "Lleddwch bob gwrryw o blentyn, a lleddwch bob benyw a fu iddi a wnaeth â gwr trwy orwedd gydag ef. Ond pob plentyn o'r benywod y rhai ni bu iddynt a wnaethant â gwr, cedwch yn fyw i chwi" (Numeri xxxi, 17, 18).

Gwnaed hyn yn gyfraith yn mhlith Israel, yn yr oll o'u rhyfeloedd yn erbyn dinasoedd a chenedloedd estronol. Dywedodd Moses mewn perthynas i'r ddinas na wnelai heddwch ag Israel, "Ti a warchäei arni hi: a phan roddo yr Arglwydd dy Dduw hi yn dy law di, taro ei holl wrrywaid â mîn y cleddyf; ond y benywaid, a'r plant, a'r anifeiliaid, a phob dim ar a fyddo yn y ddinas, sef ei holl yspail a gymmeri i ti; a thi a fwynhai yspail dy elynion, yr hwn a rydd yr Arglwydd dy Dduw i ti. Felly y gwnai i'r holl ddinasoedd pell iawn oddi wrthyt, y rhai nid ydynt o ddinasoedd y cenedloedd hyn" (Deut. xx, 12—15. Os cadwodd Israel y gyfraith a roddwyd iddynt, rhaid yw y pentyrasant gannoedd o filoedd o fenywod caethion iddynt eu hunain. Ond paham eu gorchymynwyd i ddiogelu y benywaid, ac nid y gwrrywaid? Am fod yr Arglwydd yn dra awyddus i'w bobl Ef gael amlder o wragedd, o herwydd hwynthwy oedd yr unig bobl, ar wyneb yr holl ddaear, a gymhwyswyd i godi plant i fyny mewn cyfiawnder; am hyny, cymmerodd yr Arglwydd ofal neillduol i wneyd y fath ddarpariad ag a gyfansoddai Israel yn genedl o aml-wreigwyr.

Mae y gwrryw wedi ei benodi gan awdurdod Duw i fod wrth ben ei deulu—i fod yn Batriarch a Gwaredwr iddynt. Pe gweddillasid plant gwrryw y cenedloedd hyn yn fyw, buasai iddynt gofio eu tadau, ac fel y tyfasent i fyny, troasent ymaith at eilun-addoliaeth a ffieidd-dra eu tadau; a phe y priodasent wragedd yn mhlith Israel, buasai iddynt fod yn offerynau nid yn unig i ddystrywio eu hunain, ond eu teuluoedd hefyd. Eithr nid felly gyda y benywaid a ddiogelwyd yn fyw. Cyssylltid hwy mewn priodas gyda dynion da, i'r rhai y byddent ddarostyngedig, a'u plant yr un modd; a byddai i'r dyn, wrth fod yn ben ar ei deulu, wared ei holl wragedd a phlant, trwy ei siamplau a'i eirchion daionus. Oddiyma, gwelwn ddoethineb Duw yn dinystrio y gwrrywaid, ac yn gwared y benywaid i'w

bobl, gael iddynt hwy, trwy berchenogi nifer fawr o wragedd, allu lliosogi yr hâd dewisedig fel sêr y nefoedd.

*(I'w barhau.)* *Cyf.* ROBYN DDU.

---

## TIR, BANIAR, A CHREFYDD Y SAINT.

MAE *Tir* brâs ei gnwd yn mynwes gwawl,
A'i greigiog warchgloddiau 'n fyrdd;
Meithriniaeth yn ffrwd a daen ei fawl,
Ni aned a wâd ei urdd;
O'r campwyr na choll eu henwau byth
Glod cofiant y byd yn grwn,
Goreuon yr oll a feddant chwyth
A berthyn i gyd i hwn:—
Pob cysur a dardd o'i heddwch di-haint,
A hwnw'n dŵf hardd—ydyw *Tir* iach y SAINT.

Mae *Baniar* a nawf yr awel lem,
Goruwch y mynyddau càn;
Ceir rhyddid a phrawf, fel aur mewn gem,
I'r dewrion a'i deil i'r làn;
Nerth ysbryd y llew a sang y graig,
Lle chwyfir ei harwydd ffraeth;
A thani'n ddyn glew, i wr a gwraig,
Ni fegir yr un fo gaeth:—
Anrhydedd a llwydd addurnant ei braint,
A hono'n ei swydd—ydyw *Baniar* y SAINT.

Mae *Crefydd* a naid, mewn tanllyd wres,
I wneuthur yn rhwydd ei rhan;
Caiff gelyn, wrth raid, ei nawdd a'i lles—
Rhydd gymhorth i'r llesg a'r gwan;
Cywirdeb ei bryd a lifa'n llawn,
Ei heddwch a'i grym sydd un;
Ymgyfyd o hyd i bleidio'r iawn,
Trwy gariad at Dduw a dyn:—
Eanged â'r dydd y chwyddodd ei maint,
A hon yn y ffydd—ydyw *Crefydd* y SAINT.

ROBYN DDU, ERYRI.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

HYNT YR YMFUDWYR.—Hysbysa un o'r henuriaid o'r Dyffryn, iddynt basio y Saint ymfudol rhwng Laramie a Loup Fork, Ffynai y teimladau goreu yn y Gwersylloedd, heb ddim grwgnach nac afiechyd. Edrychai y gweddeuau yn dda, gan fod digonedd o borfa; ac yn wir, hwn oedd y tymmor goreu etto.

DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU A'R CANGENAU, AM Y CHWARTER YN TERFYNU MEDI 30, 1853.

*Cynnadleddau*—Sir Fynwy, £25 17s 9½c; Sir Frycheiniog, £3 6s 5½c: Gorllewin Morganwg, £77 10s 1¼c; Lanelli, £21 14s 1¼c; Caerfyrddin, £3 6s 0¾c; Sir Aberteifi, £12 11s 0¾c; Sir Feirionydd, £5 17s 8c; Sir Fflint, £17 4s 3¾c; Dyffryn Conwy, £4 17s 3½c; Sir Ddinbych, £15 6s 1¼c; Gogledd Penfro, £3 9s 1c; Sir Fôn, £12 15s 6¾c; Deau Penfro, 2s 9c; Cangen Gymreig Liverpool, £3 0s 3½c. *Cangenau*—Pendeulwyn, £0 0s 0c; Twynyrodyn, £0 0s 0c; Eglwysnewydd, 6c; Pontfaen, 17s 5c; Caerdyf, £6 9s 5c; Dinas, 7s 11½c; Llanilltyd, £0 0s 0c; Pontytypridd, £3 16s 10c; Llanfabon, £1 0s 5½c; Aberdâr, £13 4s 8½c; Aberamman, £6 7s 0½c; Cap Coch, 16s 11c; Dowlais, £8 9s 9½c; Hirwaen, 15s 5c; Cwmnedd, £1 9s 8c; Rymni, 18s 1c; Georgetown, £0 0s 0c; Merthyr, £9 14s 5½c; Pendaren, £6 5s 1½c; Cefn, £3 17s 10c; Gwernllwyn, £0 0s 0c; Ffynnon-Tydfil, £3 15s 8½c; Troedyrhiw, 16s 6½c; Cwmbach, £2 0s 3c; Llandaf, 19s 7c; Ynysgau, £3 13s 6½c; Rymni (Saes.), 12s 11c; Gellifaelog, £2 2s 2c; Aberdâr (Saes.), £1 13s 5c.—Cyfanswm, £287 4s 4½c. (Y gwallau i'w gwella.)

Taliadau o Medi 23 hyd Medi 30.—Sir Fynwy, £5; Sir Frycheiniog, £1 17s; Llanelli, £4 10s; Sir Feirionydd, £2; Gogledd Penfro, £1 10s; Deau Penfro, £2; Pendeulwyn, 13s; Twynyrodyn, 13s; Eglwysnewydd, 10s 9c; Caerdyf, 4s 4c; Dinas, 3s 6c; Llanilltyd, 14s 7c; Pontytypridd, 9s; Aberdâr, £1 6s 2c; Cap Coch, 16s; Hirwaen, 2s 6c; Cwmnedd, 10s; Rymni, 13s; Georgetown, 9s 2c; Merthyr, 11s; Cefn, £1 17s; Gwernllwyn, £1 11s; Ffynnon-Tydfil, 10s; Troedyrhiw, 7s; Cwmbach, £1 4s.—Cyfanswm, £30 1s.

Apwyntiad.—Ystyriwyd yn ddoethineb i alw yr Henuriad Wm. Simms o Gynnadledd Caerfyrddin, i lafurio yn Nghynnadledd Ddwyreiniol Morganwg; a gadewir i'r brawd Martill lywyddu y gynnadledd hono yn ei le am yr amser presennol.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 15.] HYDREF 8, 1853. [CYF. VI.


## YR ACHOS O'R GWAHANOL SECTAU.

[Allan o "Seren Gomer," am Chwefror, 1844.]

MR. GOMER,—Y mae yn wirionedd nad oes un effaith heb achos; o ganlyniad, y mae yn rhaid fod rhyw achos o'r gwahanol sectau, y rhai a elwir gan y cyffredin, yn wahanol bleidiau Cristionogol; ond ni all hyny fod, tra fyddont yn wahanol bleidiau; canys y mae Cristionogion yn cerdded wrth yr un rheol, yn synied yr un peth, yn aelodau o'r un corff, a than arweiniad yr un Ysbryd, ac yn ufyddhau i'r un ordinhadau; canys dyweda Paul, "Trwy un ysbryd y bedyddiwyd ni oll, yn un corff; pa un bynag ai Iuddewon ai Groegwyr, ai caethion ai rhyddion; ac ni a ddiodwyd oll i un ysbryd; a'r rhai a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw;" ac nid all Ysbryd Duw fod yn arweinydd i ychwaneg nag un blaid, onid yw efe yn gyfnewidiol, barnwch chwi. Ond gan fy mod wedi profi hyn yn eglur yn SEREN Hydref, a chan ei fod yn amlwg fod y cacwn wedi eu diarfogi o'u colynau, fel nad oes un o honynt hyd yn hyn wedi cymmaint â chwyrnu arnaf, afreidiol fyddai i mi ychwanegu ar y pwnc hwn; ond ymdrechaf ddangos yr achos o honynt i bob creadur rhesymol.

Gan ei fod yn warth a dirmyg eithaf (os nid yn gabledd) i ddweyd fod Ysbryd yr unig ddoeth, ac anghyfnewidiol Dduw, yn arweinydd i ychwaneg nag un blaid,—y mae o bwys i ni wybod pa ysbryd sydd yn arwain y lleill; ac y mae Ioan yn ein hateb, gan ddweyd,—"Yr hwn sydd yn adnabod Duw

sydd yn ein gwrando ni; yr hwn nid yw o Dduw, nid yw yn ein gwrando ni; wrth hyn yr ydym yn adnabod Ysbryd y gwirionedd, ac ysbryd y cyfeiliorni." Paul hefyd a ddywed,—"Ac y mae'r Ysbryd yn eglur yn dywedyd yr ymedy rhai yn yr amseroedd diweddaf oddiwrth y ffydd,—gan roddi coel i ysbrydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau cythreuliaid." Yn awr, gan ei fod yn amlwg mai un reol ysgrythyrol y sydd, a'r Cristion dan arweiniad Ysbryd Duw i rodio yn ol y rheol hon; oni raid fod y lleill dan arweiniad ysbryd y cyfeiliorni, yn rhoddi coel i ysbrydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau cythreuliaid? Os edrychwn yn ol i'r Hen Destament, gwelwn yno luoedd o enghreifftiau, fod ysbryd y cyfeiliorni yn arwain ei weision, yn mhob oes o'r byd, i efelychu gweision y gwir Dduw. Yr oedd gan Ysbryd y gwirionedd ei offeiriaid, i aberthu yn ol gair yr Arglwydd,—yr oedd gan ysbryd y cyfeiliorni ei offeiriaid, o wehilion y bobl, i aberthu ffieidd-dra; yr oedd gan ysbryd y gwirionedd ei offeiriaid i arogldarthu yn ol gair yr Arglwydd,—yr oedd gan ysbryd y cyfeiliorni ei Nadab ac Abihu, i arogldarthu â thân dyeithr; yr oedd gan Ysbryd y gwirionedd ei Foses ac Aaron, i wneuthur gwyrthiau gerbron Pharaoh,—yr oedd gan ysbryd y cyfeiliorni ei swynwyr, yn gwneuthur y cyffelyb trwy eu swynion; yr oedd gan Ysbryd y gwirionedd ei wir brophwydi, yn prophwydo trwy air yr Arglwydd,—yr oedd gan ysbryd y cyfeiliorni ei au-brophwydi, yn prophwydo trwy ysbryd celwyddog, i dwyllo gwr Duw yn Bethel, Ahab, ac ereill; a than oruchwyliaeth y Testament Newydd, fe ddywed Pedr,—"Eithr bu gau-brophwydi hefyd yn mhlith y bobl, megys y bydd gau-athrawon yn eich plith chwithau, y rhai yn ddirgel a ddygant i mewn heresiau dinystriol, a llawer a ganlynant eu dystryw hwynt, o herwydd y rhai y ceblir ffordd y gwirionedd;" ac yn moreu Cristionogaeth, pan dynwyd ymaith ganolfur y gwahaniaeth, a rhoddi y comisiwn i'r Apostolion fyned i'r holl fyd, a phregethu yr Efengyl i bob creadur, a'r neb a gredo, ac a fedyddier, a fydd cadwedig; ac wrth weled yr Efengyl hon am y deyrnas yn llwyddo i'r fath raddau, a dynion yn credu ac yn ufyddhau wrth y miloedd,—tair mil ar ddydd y Pentecost, &c., aeth yn wbwb fawr trwy holl amherodraeth Satan, a galwyd cynghor o holl ellyllon y fagddu fawr, er ffurfio y cynllun goreu i sicrhau

ei deyrnas, a phenderfynwyd i Satan gymmeryd arno yr enw o Gristion ei hun (canys fe ddywedir ei fod weithiau yn ymrithio ar lun angel y goleuni), a sefydlu crefydd debyg i'r hon a sefydlwyd gan Grist, ond ei chael i golli mewn un pwnc; canys gwyddai Satan, fod pwy bynag a gadwai y gyfraith i gyd oll, ac a ballai mewn un pwnc, yn euog o'r cwbl; a chan fod Crist wedi sefydlu dwy ordinhad yn ei eglwys, sef Bedydd a Swper, tueddwyd y gau-athrawon, dan arweiniad ysbryd y cyfeiliorni, i ddymchwelyd yr ordinhad o Fedydd yn hollol, gan ffurfio rhywbeth o'r enw, a haeru ei fod yn llawn cystal â'r Bedydd a sefydlwyd gan Grist a'i Apostolion, er ei fod yn gwahaniaethu mewn dull a deiliaid; ac y maent wedi darbwyllo y rhan fwyaf o'r byd i'w credu, gan roddi coel i ysbrydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau cythreuliaid; er y gwel pob perchen rheswm, ond y sawl sydd trwy ragfarn yn dewis rhoddi coel i athrawiaethau cyfeiliornus, nad oes ond *un* Bedydd wedi ei sefydlu gan Grist, a rheol i'w weinyddu mewn dull a deiliaid, mor amlwg yn y Beibl ag sydd ddichonadwy i'r Ysbryd Glân ei gosod allan, "canys y dirgeledigaethau sydd eiddo yr Arglwydd ein Duw, a'r pethau amlwg a roddwyd i ni ac i'n plant hyd byth, fel y gwnelom holl eiriau y gyfraith hon." Ond pwy a welodd yr hyn a elwir yn Fedydd gan y gau-athrawon yn amlwg erioed yn y Beibl? Y mae yn wir eu bod hwy yn ei gyflawni weithiau yn amlwg, weithiau yn ddirgel, rhai yn gyffredin, a rhai yn neillduol; ac y maent yn anghytuno yn ynghylch sail eu Bedydd, dull eu Bedydd, deiliaid eu Bedydd, a dyben eu Bedydd, nes y maent wedi ymrwygo, ymranu, ac ymbleidio, dan wahanol enwau neu sectau, dros wyneb y ddaear, fel nad oes dyn yn y byd, am a wn i, a all roddi cyfrif cywir pa sawl plaid neu sect sydd o honynt yn bodoli yn bresennol. Dichon fod llawer yn meddwl mai yr eilunaddolwyr yw y gau-athrawon a sonia Paul ac ereill mor fynych am danynt, gan ein rhybyddio i'w gochelyd; ond nis gall hyny fod, canys y maent yn ngwisgoedd defaid, neu yn debyg iddynt, yr hyn nid yw yr eilunaddolwyr mewn un gradd. "Wel," ebe rhywun, "onid oes llawer o au-athrawon yn y wir eglwys Apostolaidd?" Y mae hyny etto yn anmhosibl; gall fod yno lawer ar au-ddybenion, ond rhaid cael gau-athrawiaeth cyn gwneuthur gau-athrawon; ac nid oes ond un ffurf o athraw-

iaeth yn eglwys Crist, canys dywed Paul, "I Dduw y byddo y diolch, eich bod chwi gynt yn weision i bechod; eithr ufyddhau o honoch o'r galon i'r ffurf o athrawiaeth a draddodwyd i chwi;" ond y gau athrawon yw y rhai sydd, "a chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi; y rhai hyn gochel di: yn dysgu bob amser, ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd. Eithr megys y safodd Jannes a Jambres yn erbyn Moses; felly y mae y rhai hyn hefyd yn sefyll yn erbyn y gwirionedd; dynion o feddwl llygredig, yn anghymmeradwy o ran y ffydd. Fel y mae yn ysgrifenedig, Y mae y bobl hyn yn fy anrhydeddu â'u gwefusau, ond eu calon sydd bell oddiwrthyf; eithr yn ofer y maent yn fy addoli, gan ddysgu yn lle dysgeidiaeth orchymynion dynion; gan adael heibio orchymynion Duw, yr ydych yn dal traddodiad dynion, gan roddi coel i ysbrydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau cythreuliaid."

*Glyn Tarell.* CYMRO CLOFF.

---

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 227.]

MAE nifer plant yr Israel, wrth eu cyferbynu â nifer y teuluoedd, yn dangos y rhaid fod aml-wreigiaeth wedi cael ei arferyd i helaethder mawr iawn tra yr oeddynt yn yr anialwch. Gorchymynwyd Moses i gymmeryd nifer yr holl wrrywaid o ugain mlwydd eu hoedran ac uchod a'r a oeddynt alluog i fyned allan i ryfel.—Num. i, 2, 3. Canfyddwyd fod y nifer yn chwe chan mil a thair mil a phum cant a deg a deugain (adn. 46). Tra thebygol ydyw y buasai i nifer y gwrrywaid dan ugain eu hoedran, pan eu chwanegid at y lleill, gynnyddu yr unrhyw i oddeutu miliwn. Niferi y benywaid, mae yn fwyaf tebyg, oedd y mwyaf o lawer, oblegid i'r Aifftiaid, uwchlaw deugain mlynedd cynt, ddechreu dinystrio y plant gwrryw. Rhaid i boll genedl Israel, gan hyny, fod yn rhywbeth agos i ddwy filiwn a hanner. Yn awr, pa faint o wrrywaid cyntaf-anedig ydoedd yn y llu lliosog hwn? Ateb: nid oedd ond dwy fil ar hugain a dau cant a thri ar ddeg a thrugain. (Gwel Num. iii, 43.) O ganlyniad, nid oedd yn mysg yr holl nifer ond cyfartalwch o un allan o bob pedwar ar bymtheg ar hugain yn gyntaf-anedigion. Pa fodd y dichon hyny fod? Ni allasai

fod yn ddichonadwy ond yn unig ar yr egwyddor o aml-wreigiaeth a fodolai yn mhob teulu braidd; oblegid ni allasai fod gan bob benyw bedwar ar bymtheg ar hugain o feibion; a rhaid yw cofio na allasai ond un allan o'r nifer hwn fod yn gyntaf anedig. Yn awr, dichonadwy oedd i ddyn a chanddo bedair gwraig berchenogi pedwar ar bymtheg ar hugain o feibion; yn yr achos yma ni fuasai ond un allan o'r nifer a allasai fod y cyntaf-anedig. Perthynas yn unig i'r dyn yr hwn sydd ben teulu a fyddai y cyntaf-anedig, ac nid i'r fenyw. Er fod gan Jacob bedair o wragedd a deuddeg o feibion, etto Reuben yn unig a elwid yn gyntaf-anedig. Dichon y dywedir fod yno lawer o deuluoedd a'u cyntaf-anedigion yn ferched: o hyn nid oes ammheuaeth. Caniatewch fod y ddau ddosparth o deuluoedd yn gyfartal, er hyny ni fyddai ond pedair mil a deugain pum cant a chwech a deugain o deuluoedd yn perchenogi plant yn holl Israel; cymmeryd i'n hystyriaeth y teuluoedd hyny nad oedd ganddynt blant, ni allasai holl nifer y teuluoedd yn Israel fod yn helaethach nâ deg mil a deugain. Yn awr, rhaid cymmeryd i fewn ddwy filiwn a hanner o bobl oll i ddeg mil a deugain o deuluoedd, yr hyn a fyddai yn gywir ddeg a deugain i bob teulu. Gan na allasai un wraig fod yn fam i wyth a deugain o blant, ymddengys yn eithaf penderfynol mai rhaid ydyw y fod agos i bob teulu yn Israel wedi arferyd aml-wreigiaeth. Gan y cynnwysai teulu pob dyn, o leiaf, ddeg a deugain o bersonau, ac os caniateir pump o blant megys cyfartalwch i bob gwraig, yna rhaid yw y cynnwysai teulu pob dyn oddeutu wyth o wragedd a deugain o blant. Nid oes yna fodd i gilio ymaith oddiwrth y prawfiadau ysgrythyrol hyn yn mhlaid aml-wreigiaeth. Ni ddichon un dynsawd egluro ar unrhyw egwyddor arall, y modd nad oedd ond dwy fil ar hugain dau cant a thri ar ddeg a thri ugain o wrrywaid cyntaf-anedig mewn cenedl y rhaid i'w phoblogaeth, wrth gyfrifiad isel iawn, fod â'i nifer yn ddau filiwn a hanner.

Ni allasai fod dros ddeg mil a deugain o ddynion priodasol yn Israel yr amser hwnw, wrth y cyfrifiad uchaf, ac etto rhaid fod yno rywbeth fel tri neu bedwar can mil o fenywaid priodasol. Nifer y gwyr priodasol a gyfrifwyd yn agosiadol allan o nifer y gwrrywaid cyntaf-anedig. A nifer y benywaid priodasol a gyfrifwyd yn agosiadol oddiwrth holl nifer Israel.

Wrth y cyfrifiad uchod deuai nifer y gwrrywaid nad oeddynt yn briod i oddeutu naw cant a deg a deugain mil; o'r nifer hwn byddai yno dros bum cant a deg a deugain mil uwchlaw ugain mlynedd eu hoedran, heb briodi; tra y byddai nifer y benywaid heb briodi yn oddeutu unarddeg neu ddeuddeg can mil.

O'r gwrrywaid hyny ag oeddynt ddigon hen i briodi, nid oedd megys cyfartalwch, ond gan un allan o bob deuddeg teulu. Rhaid yw y bu rhyw achos am hyn. A fedr rhyw un roddi achos rhesymol? A fedr rhyw un ddweyd paham nad oedd ond oddeutu un ran o ddeuddeg o'r dynion yr amser hwnw yn perchenogi teuluoedd? Onid oes genym reswm i gredu nad oedd ond y cyfartalwch bychan hwn o'r dynion yn deilwng o wragedd neu blant? Paham yr oedd deg mil a deugain o ddynion wedi eu bendithio gyda rhyw dri neu bedwar can mil o wragedd, tra dros bum cant a deg a deugain o filoedd heb yr un o gwbl? Nis gallwn ateb y gofyniad hwn, ond yn unig ar yr egwyddor fod Duw yn rhoddi gwragedd a phlant mewn cyflawnder mawr i'w weision ffyddlawn, ac yn eu hattal oddiwrth yr anffyddlawn, rhag ofn y cynnyddent yn olafiaid anghyfiawn ar y ddaear. Pe ymddygai Duw at ei Saint yn Utah ar yr un egwyddor yn awr, ag a wnaeth Ef yn yr hen amseroedd, ni fyddai yn ddim dyeithrwch pe rhoddai Ef i lawer o'i weision ffyddlawn y can cymmaint o wragedd a phlant; tra y cyfyngid ereill llai ffyddlawn i un, ac ereill o hyd heb yr un o gwbl, fel y rhan fawr liosocaf o Israel yn yr anialwch.

Pe dywedai rhywun nad yw y dull y cyfranai Duw ei fendithion dan yr oruchwyliaeth Foesenaidd, yn gymhwysiadol dan yr Efengyl, gofynem, mewn gwrth-atebiad, A ydyw yn fwy boddhaol yn ngolwg Duw i ddyn drwg ddwyn teulu i fyny mewn drygioni, dan yr oruchwyliaeth Efengylaidd, nag ydoedd dan yr oruchwyliaeth flaenorol? Ai nid ydyw y canlyniadau drwg yr un dan bob goruchwyliaeth? Ai nid oes yna yr un faint yn gywir o berygl i ddyn drwg, ddwyn dystryw a thrueni tragywyddol ar ei deulu dan yr Efengyl, fel dan y gyfraith? Os yw Duw, gan hyny, yr un mor anfoddlawn yn awr gyda theulu a feithrinir mewn drygioni, ac os oes yna yr unrhyw berygl o ddinystrio eneidiau anfarwol yr hiliog-

aeth yn awr, ag a oedd dan yr oruchwyliaeth Foesenaidd, yna paham y tybir yn ddyeithr fod Duw yn arferyd yr unrhyw rwystrau yn awr ag a wnaeth Ef yn y cynfyd, i attal cynnydd y drygionus, a'r unrhyw rwyddineb i gynnyddu yn fawr deuluoedd y cyfiawn? Paham ei cyfrifir yn afresymol i Dduw roddi llawer o wragedd a phlant i'r rhai a orchymynent eu tylwyth mewn cyfiawnder, fel y gwnaeth Abraham, ac attal y bendithion hyn oddiwrth ereill ag oeddynt annheilwng.

Mae y tystiolaethau a'r rhesymau hyn, a'u sylfaenu ar gyfartalwch nifer y gwrrywaid a'r benywaid yn Utah, yn dymchwelyd y gwrthwynebiadau mawrion i aml-wreigiaeth yn effeithiol. Gwelir, pe buasai y gwrrywaid yn y diriogaeth hono, yn bum gwaith lliosocach nâ'r benywaid, er hyny, dangosasai y rhesymau blaenorol yr anghenrheidrwydd o aml-wreigiaeth; oddigerth y gellid profi fod yr holl wrrywaid yn y diriogaeth hono yn gyfartal ffyddlawn, ac o ganlyniad yn gyfartal deilwng o'u hymddiried gyda y bendithion mawrion hyn. Ond dichon y gofynir, Pwy sydd i benderfynu ar deilyngdod neu annheilyngdod y bobl? Atebwn, yr un Bod ag a benderfynodd yn wastadol bob achos o bwys yn mhlith ei bobl Ef. Eithr onid oes yna berygl mawr o fod yn dwylledig? Oes: y mae yna berygl hynod o fawr, yn wir, oddigerth i chwi gredu mewn Duw sydd yn dadguddio yn awr megys ag y gwnaeth Ef yn yr hen amseroedd. Twyllwyd holl genedloedd y ddaear bob amser yr aethant mor bell oddiwrth Dduw, fel na lefarai Efe wrthynt; gadawir hwy y pryd hyny i ddilyn eu dychymmygion eu hunain, y rhai ydynt yn sicr o'u twyllo. Ond pan lefaro Duw, nis dichon y dygwydd twyll. Mae ei ddefaid Ef yn adnabod ei lais, a chanlynant Ef; am hyny, nid yw bosibl twyllo yr etholedigion; o herwydd y maent yn ymddyddan â Duw, ac nid yw Ef byth yn twyllo neb. Os pobl Utah yw pobl Dduw, yna nid oes yn ddichonadwy iddynt gael eu twyllo ar unrhyw bwnc mor fawr ei bwys â hwnw o aml-wreigiaeth; oblegid nid oes gan un dyn hawl i'r bendithion hyn oddigerth i Dduw eu rhoddi iddo, trwy ei was Ef y prophwyd. Ond, ar y llaw arall, os nad oes gan bobl Utah brophwyd, yna nid ydynt yn bobl i Dduw, eithr y maent dwylledig fel yr oll ereill o'r byd Cristionogol ag ydynt heb brophwydi. Yn yr achos olaf, nis byddwn yn deilwng o hyd y nod un wraig,

llawer llai lliosogrwydd. Ni fu pobl heb fod prophwydi neu ddynion ysbrydoledig yn eu plith, erioed yn deilwng o wragedd neu blant mewn unrhyw oes o'r byd. Gan hyny, os na all pobl Utah ymofyn â Duw, a derbyn dadguddiadau oddiwrtho Ef, nid oes ganddynt hawl i wragedd a phlant, mwy nag sydd gan y byd Cristionogol gwrthgiliedig. Mae y cyfiawnder neu yr anghyfiawnder o gael aml-wragedd, neu hyd y nod un wraig, yn dibynu oll ar y gofyniad syml, Pa un a yw y bobl a feiddiant briodi, yn bobl i Dduw, ai nad ydynt? Os nad ydynt, nid oes ganddynt hawl ddwyfol i hyd y nod un wraig; os ydynt yn bobl iddo Ef, mae ganddo Ef yr hawl ddiammheuol i ddangos trwy ei Brophwyd Ef, pa nifer o wragedd, os neb, a all pob un gael.

Ond a fyddai yn iawn i Saint y Dyddiau Diweddaf briodi aml-wragedd yn unrhyw o'r taleithiau, neu diriogaethau, neu genedloedd, lle gwaherddir y fath arferion gan gyfreithiau dyn? Yr ydym yn ateb na fyddai; ni fyddai yn iawn; oblegid y gorchymynir i ni fod yn ddarostyngedig i'r awdurdodau y sydd. Cyhyd ag y byddom byw o dan eu rhaglawiaeth, gorchymynir i ni gadw eu cyfreithiau, oddigerth fod eu cyfreithiau yn anghyfiawn, fel y rhai hyny a roddwyd gan Nebuchodonezzor, yn gorchymyn i'r holl bobl syrthio lawr ac addoli y ddelw aur a barodd Ef ei chodi i fyny; yna byddai i ninnau yn ddiammau, wrthryfela fel y gwnaeth y tri Hebreaid. Ond pob cyfreithiau a allem eu cadw heb halogi ein cydwybodau, ein dyledswydd yw ufyddhau iddynt, cyhyd ag y byddom byw danynt. Yr ydym yn credu am y cyfreithiau a osodwyd yn y gwahanol daleithiau a thiriogaethau, yn erbyn aml-wragedd, eu bod yn anghytunol â'r ffurf-lywodraeth, yn tarddu allan o arferion cul-gyfyngol, a dall-bleidiol Cristionogaeth wrthgiliedig. Er hyny, dyledswydd y Saint, cyhyd ag yr arosant dan y fath gyfreithiau anhael, ydyw cydsynio â hwynt yn fanwl. Ond os ewyllysiant fwynhau y breintiau a ganiateir gan air Duw, a chan Ffurf-lywodraeth ogoneddus ein Gwerin-lywodraeth Genedlaethol, bydded iddynt ymadael o dan raglawiaeth y cyfreithiau taleithiol anhael hyn, a myned i Utah, lle y mae rhyddid crefyddol yn cael ei oddef, a lle mae gan bob pobl a phlaid yr hawl i addoli fel eu boddheir, a phriodi cynnifer o wragedd a'u boddheir, a bod yn gyfrifol i Dduw ac nid i ddyn.

Cyfreithiau sydd fwriadol i attal trosedd, a chyfraith ddadguddiedig Duw, a goleuni cydwybod, ydynt ddigonol i helaethrwydd at benderfynu beth sydd drosedd. Ni fydd i gydwybod a gyfarwyddwyd yn dda, benderfynu fod unrhyw beth yn drosedd, nad ydyw yn anghysson â'r gyfraith ddadguddiedig. Gan fod aml-wreigiaeth yn berffaith gydweddol â'r gyfraith ddadguddiedig, nid yw yn drosedd; ac am hyny, ni ddylai unrhyw gyfreithiau dynol ei dadgan fel y cyfryw; ond dylid gadael pob dyn yn berffaith rydd mewn perthynas i'r peth hwn, cyn belled ag a wnelo cyfreithiau dynol ag ef.

Bydd i bob cydwybod oleuedig, yr un modd â gair Duw, ddywedyd wrthym fod celwydd, lladrata, yspeilio, gwneuthur godineb, gormesu, lladd, a llawer ereill o weithredoedd cyffelyb, yn droseddiadau; ac o ganlyniad, dylai y swyddogaethau deddfroddol osod cyfreithiau doeth a chall er eu cospedigaeth. Ond pa le y dadgenir yn ngair Duw fod aml-wreigiaeth megys trosedd? Ddim yn un lle, eithr yn y gwrthwyneb, y mae yn cael ei gymmeradwyo gan Dduw. A gaiff doethineb ddynol, ynte, ryfygu gosod cyfreithiau yn erbyn y peth hwnw, yr hwn nâ chollfernir mo hono, fel trosedd, yn un lle o fewn i'r oraclau dwyfol? A raid i ni dan gymblethiadau llydain y Ffurf-lywodraeth Americanaidd, gael ein gorfodi i ymgrymu i dybiau cul-gyfyngol Cristionogaeth wrthgiliedig? A raid i ni gau i fyny ein cydwybodau mewn plisgyn cneuen, a chymmeryd ein gorfodi i ymostwng i dybiau dall-bleidiol, a mympwy, a defodau oesoedd tywyll pabyddiaeth, a drosglwyddwyd i ni trwy goel-grefydd ein tadau? A raid i ni fod yn gaethion defod, a rhoddi ymostyngiad i ddylanwadau enaid-ddinystriol a chlafychus Cristionogaeth ddiweddar? Na: ni chafodd rhyddid Americanaidd ei sefydlu erioed i ddybenion mor gaeth-wasaidd; ni chyd-gyssylltwyd erioed mo Ffurf-lywodraeth ein gwlad i lethu cydwybod dyn, a dodi arno ef iau haiarnaidd y goel-grefydd Rufeinig; ni bu i'n hardderchog dadau erioed ymladd a gwaedu i gymmunu i'w plant etifeddiaeth rhyddid wedi ei chymmysgu gyda thraws awdurdodaeth; ni wnaed erioed y balch eryr Americanaidd i estyn allan ei adenydd ac uwch-hedeg i'r làn, i watwar tir meibion rhyddid. Rhyddid—annherfynedig ryddid cydwybod, a ddylai fod yn nodweddu cyfreithiau pob un o Daleithiau yr Undeb mawr ac

estynedig hwn. Yma dylai yr Hindŵ a'r Chiniad, gael caniatâd i ymgrymu ac addoli duwiau eilun-addolgar eu tadau, heb eu haflonyddu na'u niweidio, cyhyd nad ydynt euog o un rhyw droseddiadau, a bod heb wneuthur unpeth o dueddiad i ddrygu cymdeithas. Dan ffurf y Duw-lywodraeth, cospid eilun-addolwr gyda mawolaeth; oblegid mae eilun-addoliaeth yn drosedd mawr yn ngolwg Duw. Duw-lywodraeth a ystyriai bob crefydd, oddigerth un, yn droseddol, a therfynai ac a amgauai oll ond un. Eithr nid yw llywodraeth y genedl hon yn dduwiolaeth; bwriadwyd hi i roddi rhyddid crefyddol i bawb; ac at ddwyn y golygiadau hyn allan, dylid goddef crefyddau yn mhlith cenedloedd paganaidd yma, ac i'w canlynwyr gael yr un amddiffyniad gan y gyfraith, ag a ddyry i'r Trefnyddion, Bedyddwyr, Henaduriaid, neu i unrhyw gymdeithas arall. Os oes i unrhyw grefydd nad yw yn ymladd gyda Ffurf-lywodraeth y wlad gael ei gwahardd, bydd i'r un rheol wahardd pob un o'r lleill. Cyhyd, gan hyny, ag mai y ffurf bresennol o Werin-lywodraeth hon yw ein lluman, bydded i grefyddau pob cenedl gael eu hamddiffyn yn gyfartal. Os yw neb yn mhlith cenedloedd Asia, neu Affrica, neu ynysoedd y môr, yn ystyried mai iawn yw aml-wragedd, ac yn ewyllysio ymfudo gyda eu teuluoedd lliosog, a dyfod yn ddinasyddion o'r Werin-wladwriaeth fawr hon, hwy a ddylent gael y rhagorfraint hono, heb eu gorfodi gan Dalaeth-gyfreithiau anghytunol â'r ffurf-lywodraeth, i rwygo i fyny eu teuluoedd, ac ysgaru eu gwragedd oll ond un. Mae y Talaeth-gyfreithiau anhael presennol, yn gwarafun ymfudiad o oddeutu pedair rhan o bump o genedloedd y ddaear, ac etto ffugir fod ein gwlad yn nawddle i bob cenedl. Eithr gadawer iddynt wneyd y cynnyg unwaith, a chanfyddant yn fuan ein carcharau wedi eu llenwi ag aml-wreigwyr didwyll ond anffodiog; canfyddant yn fuan, gyda'r eithriad o un, y bydd i'w gwragedd, pa mor anwyl bynag i'w calonau, gael eu llarpio allan o'u cofleidiad. A yw hyn yn freinioldeb a rhyddid! Ai hyn yw y noddfa garedig a ddelir allan i'r gorthrymedig o bob cenedl!! A raid iddynt adael yr hawl-freintiau anwylaf a mwyaf cyssegredig a fwynhäwyd erioed gan ddyn, a thori ar wahan y cylymau teuluol o hoffder priodasol a chariad, mewn trefn i fod yn gyfranogion o'n llettygarwch? Na ymffrostia, O America falch, o haelion-

usrwydd dy sefydliadau, pan y mae y fath gyfreithiau anhaelion yn melldigo dy dir! Wedi ei ddarostwng i'r golled o'i deulu, da y dichon i'r gonest batriachaidd ddwyreinydd floeddio, "Rhodda i mi fy ngwragedd a fy mhlant, a gâd i America gadw ei rhyddid cynnygiedig i ereill sydd a'u meddyliau eisoes wedi eu sarnu dan benchwibandod a choel-grefyddau crefyddol y Pabyddion a'r Protestaniaid! Rhodda i mi fy ngwragedd a fy mhlant, a mi a ddychw elaf i'm gwlad enedigol, lle nad yw hawl-freintiau cyssegredig y cylch teuluaidd yn cael eu gores-gyn a'u tori ar wahan gan osodiadau deddfroddol! Dyro i mi fy ngwragedd a fy mhlant, oblegid hebddynt hwy collodd sain rhyddid ei felysder yn fy nghlustiau! Dyro i mi fy ngwragedd a fy mhlant, ac yr ydwyf ewyllysgar i ddyoddef caledi yr Hen Fyd, mewn trefn i ddianc oddiwrth gyfreithiau rhwymedigol, coel-grefyddol, a gorthrymus y Newydd!" Y rhai hyn a fydd-ent y teimladau gan filiynau o breswylwyr yr Hen Fyd, pe ymfudent i'n gwlad ni a chael tori i fyny eu teuluoedd, a hwythau eu carcharu am aml-wreigiaeth, gan ein Talaeth-gyf-reithiau anghytunol â'n ffurf-lywodraeth. Paham na fyddai i ddinasyddion Americanaidd, ynte, godi i fyny gydag un cyd-syniad, a gwrthalw y cyfreithiau anhaelion a gorthrymus hyny, a gadael i'r rhyddedigaethau a gymmunwyd i ni, gan waed dewisol ein henafiaid ardderchog, i'w mwynhau i'r estyn-iadau llawnaf? Paham na fyddai i'r America roesawu gor-thrymedig, a mathredig feibion yr Hen Fyd, i fwynhau gloddest ein tir, a hawl-freintiau mawrion ein Ffurf-lywodraeth gyssegredig, heb rwygo allan o'u cofleidiad y peth sydd anwyl-ach nâ bywyd, y mynydyn y gosodant droed ar ein traethau.

*(I'w barhau.)*

*Cyf.* ROBYN DDU.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 220.]

62. Os nad oedd gan ddyn cyn y cwymp, wybodaeth am drueni, mae yn amlwg ei fod hefyd wedi bod yn anwybodus am natur dedwyddwch; o herwydd er ei osod mewn amgylch-iadau lle nad oes trueni, etto nid yw yn gwireddu fod y cyflwr hwn yn gyflwr o ddedwyddwch: ni allai neb egluro iddo natur

dedwyddwch: y meddylrith am ddedwyddwch ni allai byth fyned i'w feddwl hyd oni ffurfiai feddylddrych am sefyllfa neu gyflwr natur gyferbyniol. Pe dirnadem am fôd yn cael ei osod mewn amgylchiadau lle y byddai ffrwd barhaus o oleuni yn llewyrchu arno, ei derwynder heb fod byth yn amrywio—pe dirnadem ef megys heb byth gau ei lygaid ar y goleuni hwn, byddai yn anhyall iddo wybod am natur tywyllwch; byddai yn gyfartal anmhosibl iddo i ffurfio un meddylrith iddo fwynhau goleuni: goleuni nis gellid ei eglurhau iddo, megys peth gwrthwyneb i dywyllwch; ac er pe byddai byw yn y goleuni yna yn dragywyddol, nis gallai byth ei werthfawrogi ef, nis gallai gyferbynu ei gyflwr mewn goleuni â chyflwr un arall mewn tywyllwch; o herwydd ni fyddai ganddo un dychymmyg beth oedd tywyllwch: mewn trefn i ddeall y gwahaniaeth rhwng goleuni a thywyllwch, a gwerthfawrogi bendithion yr un, yn gyferbyniol ag anhyfrydwch y llall, rhaid iddo brofi y ddwy sefyllfa wrthwynebol. Felly hefyd, gyda golwg ar y meddylddrych o ddedwyddwch; mewn trefn i benderfynu yn ei feddwl ei hun pa beth yw dedwyddwch, rhaid iddo fod yn alluog idd ei gyferbynu â thrueni; ond os nad oes ganddo un meddylrith am drueni, nis gallai wneyd y gyferbyniaeth, ac yn ganlynol nis gallai ffurfio un meddylrith ynddo ei hun, fod ei sefyllfa yn sefyllfa o ddedwyddwch. Y gair *dedwyddwch* a fyddai yn enw gwag, o'r hwn nis gallai ffurfio un meddylrith am ei ystyr. Yna, rhaid fod sefyllfa ein rhieni cyntaf, cyn y cwymp, wedi bod yn fath o sefyllfa ganolaidd, heb ganddynt wybodaeth am ddedwyddwch nâ thrueni, nac ychwaith yn mwynhau un na dyoddef y llall, heb werthfawrogi eu cyflwr, oblegid nis gallent ei gyferbynu ag unrhyw gyflwr gwrthwynebol. Yr oedd yn anghenrheidiol, gan hyny, iddynt hwy brofi poen neu drueni, fel y gallent wahaniaethu a gwerthfawrogi dedwyddwch.

63. Gan fod yr Arglwydd yn berffaith mewn daioni, nis gallai yn gysson â'r gallu mawr hwn o'i natur, roddi poen neu drueni ar fodau diniwed, fel ein rhieni cyntaf. Os gwnaeth efe hwynt yn ddarostyngedig i boen, ei waith nis gallasai fod wedi ei gyhoeddi yn dda iawn: ac os y gosododd efe boen arnynt hwy tra yn eu sefyllfa ddiniwed, yr holl Nefoedd a'i hystyriasent Ef yn anghyfiawn, a chyhuddent ei ddaioni. Poen neu

drueni raid fod yn ganlyniad o droseddiad. Pob poen yn y bydyssawd sydd yn wreiddiol mewn troseddiad. Ond ein rhieni cyntaf, tra yn ddiniwed, ni wyddent na da na drwg: gwyddent fod Duw wedi rhoddi cyfraith gyda golwg ar ffrwyth rhyw bren, yr hwn y dywedwyd wrthynt oedd "bren gwybodaeth da a drwg." Yr enw syml o'r pren hwn ni roddodd iddynt feddylrith am natur na da na drwg. Gwyddent fod Duw wedi rhoddi gorchymyn i beidio bwyta o'i ffrwyth; ond ni wyddent hwy fod ufydd-dod i'r gyfraith hon yn dda, ac anufydd-dod iddi yn ddrwg. Pe dywedasid wrthynt fod ufyddhau i'r gyfraith yn dda, a bod anufyddhau iddi yn ddrwg, nis gallasent fod wedi deall yr enwau; da a drwg oeddynt eiriau di-ystyr iddynt hwy. Gwir oedd, ddywedyd wrthynt am y gospedigaeth a weinyddid arnynt hwy os y troseddent y gyfraith. Ond nis gallent ffurfio un meddylrith am natur marwolaeth, mor bell ag yr oedd y teimlad yn perthyn; ac am hyny ni safent yn ofn marwolaeth. Pe gwelsai Duw yn addas i ddywedyd wrthynt cyn y cwymp, taw marwolaeth fuasai ymddattodiad corff ac ysbryd, y buasai idd eu cyrff ddychwelyd i'r llwch, ac y buasai eu hysbrydoedd yn druenus, etto nis gallasent fod wedi deall y buasai y fath sefyllfa o bethau yn drueni; nis gallasent ffurfio un meddylrith am ddrygedd marwolaeth, neu y buasai yn anfantais iddynt hwy i gael eu cyrff a'u hysbrydoedd yn ysgaredig. Sefyll mewn ofn o gosp a ddangosai y rhaid fod gan yr hwn a ofnai fel hyn, ryw ddychymmyg am drueni; ond gan na wyddai ein rhieni cyntaf am drueni, o herwydd na wyddent am ddrwg, yr oedd yn anmhosibl iddynt fod ag unrhyw ofnau, gyda golwg ar y canlyniadau a ddeillient o anufydd-dod. Oddiyma yr oeddynt yn ddeiliaid neu wrthddrychau cyfaddas i gael eu hudo i anufyddhau i'r gyfraith, heb unrhyw ofn. Ni ddarfu idd eu Tad erioed wgu arnynt, am hyny nis gallent ddirnad am natur gwg. Eu holl weithredoedd, cyn gwybodaeth o dda a drwg, raid fod i ryw helaethder, heb unrhyw deilyngdod neu annheilyngdod. Pe cyflawnasent unrhyw weithredoedd pa rai a ystyriasid yn dda, pe eu cyflawnasid gan fodau a wybuasent dda, etto, o herwydd eu hanwybodaeth am natur da, y cyfryw weithredoedd ni ystyriasid yn dda na drwg. Am hyny, hwynt-hwy, tra yn y sefyllfa hon o anwybodaeth, nis gallent wneyd da, o herwydd ni wyddent

natur da; nis gallent ychwaith ddysgu natur da, heb droseddu y gyfraith, a chan fel hyn ddysgu natur drwg; y pryd hwnw, ac nid hyd hyny, y dysgent trwy brofiad, fod un rywiogaeth o weithrediad yn dda, a rhywiogaeth arall yn ddrwg.

64. Heb wybodaeth am dda a drwg, o ddedwyddwch a thrueni, nis gallent gael un amgyffred am gyfiawnder a thrugaredd. Ymsyniad o gyfiawnder sydd yn cynnwys nid yn unig gwybodaeth o'r hyn sydd uniawn ac anuniawn, ond gwybodaeth o'r gosp pa un a ddylai gael ei gweinyddu ar y drwg-weithredwr. Dealltwriaeth am natur trueni a gynnwys ddealltwriaeth am gyfiawnder; ac heb wybodaeth o'r olaf, nis gellid ffurfio amgyffredion am natur y blaenaf. Ein rhieni cyntaf, yn y sefyllfa hon, ni welsant erioed unrhyw un yn dyoddef gofynion cyfiawnder, o dan gospedigaeth o gyfraith doredig; ni welsant hwy erioed drugaredd yn cael ei chynnyg i fôd yn y fath gyflwr. Cyfiawnder a thrugaredd a fyddent eiriau iddynt hwy heb un arwyddocâd: y meddylrithiau am eu natur, nis gallent yn eu sefyllfa ddiniwed, fyned i mewn idd eu calonau. Iaith a fyddai yn hollol annigonol i roddi iddynt y dychymmyg lleiaf am yr ansoddau rhai'n; ni ddysgir hwynt ond yn unig trwy archwaethu da a drwg, trwy gyfranogi o ddedwyddwch a thrueni.

*(I'w barhau.)*

*Llanelli.* *Cyf.* D. E. Jones.

---

## MOLIANT SEION.

Ton—" Rule Britannia."

O Seion, Seion, gwisg dy nerth,
O'th flaen y cryma Babel gerth;
Mae dydd gogoniant i ti'n bod,—
Ac uchel seinir byth dy glod.
Cân, Seion cân;
Dy haleliwia 'nawr,
Fo'n adsain trwy'r bodoldeb mawr.

Yr holl elynion i ti gaed,
Yn mawr sychedu am dy waed,
Gan nerth dy foliant trengant oll,
O ddychryn—ânt i gyd ar goll.
Cân, Seion cân ;
Dy haleliwia 'nawr,
Fo'n adsain trwy'r bodoldeb mawr.

Preswylferch Seion, llawenha,
A gorfoledda—d'wed ha, ha;
Dydd mawr dy ryddid sydd gerllaw,—
O, bloeddia ganu yn ddi-daw.
Cân, Seion, cân;
Dy haleliwlia 'nawr,
Fo'n adsain trwy'r bodoldeb mawr.

Disgynir balchder Babel fawr,
Hi syrth, hi syrth yn îs nâ'r llawr!
A'r Saint a ganant yn ddi-boen,
Ar ddydd priodas Gwraig yr Oen.
Cân, Seion, cân;
Dy haleliwia 'nawr,
Fo'n adsain trwy'r bodoldeb mawr.

Y dydd dedwyddol welaf 'nawr,
Ar emrynt goleu dysclaer wawr;
Fe ddaw,—ei hyfryd lewyrch ef
Sy'n tanio holl ganiadau'r nef.
Cân, Seion, cân;
Dy haleliwia 'nawr,
Fo'n adsain trwy'r bodoldeb mawr.

Prysured, O prysured ef,
Hyn yw fy nghais, hyn yw fy llef,
A chael cyflawni 'wyllys Duw,
Ac yn ei gariad fythol fyw.
A chanu wnaf,
Yn ddedwydd iawn fy rhan,
Er gwaetha'r gelyn yn mhob man.

*Llanelli.* DEWI ELFED.

---

## DIAREBION TYRCIAIDD.

CAREG fechan a wna ystwr mawr yn fynych.

Cyfaill ffol sydd weithiau yn fwy niweidiol nâ gelyn call.

Ni fydd i neb wneyd ei enau yn fwy melys wrth lefaru y gair "mêl."

Os yw dyn am fyw mewn heddwch, rhaid iddo fod yn ddall, yn fyddar, ac yn fud.

Gwna dda, a thafla ef i'r môr; os na fydd i'r pysg ei adwaen, Duw a wna.

Y sawl sydd yn ofni Duw, nid oes achos iddo ofni dyn.

Os yw dy elyn mor fychan â gwibedyn, meddylia ei fod mor fawr â chawrfil.

Y sawl a wyddant fwyaf yw y rhai a dwyllir fynychaf.

Y dyn a wylo dros bawb, a fydd yn fuan heb ddim llygaid.

Mwy o ddysg a geir trwy ymddyddan nâ thrwy lyfrau.

Cyfaill cywir sydd yn fwy ei werth nâ charenydd.

Anfynych y marchoga yr hwn a fenthycia geffyl.

Na ymddirieda yn ngwyndra ei benwisg; prynodd y sebon ar goel.

Angeu sydd gamel du, a ymgryma o flaen drws pob dyn.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

O'r Dyffryn.—Y newyddion diweddaf a'n hysbysant i'r 4ydd o Orphenaf gael ei gadw yn y dull arferol, ac i'r Saint fwynhau eu hunain gystal ag erioed. Treuliwyd y boreu mewn gorymdeithio, a'r prydnawn mewn cyfarfodydd o amryw fathau. Hysbysir hefyd fod yr Indiaid yn dangos tuedd i niweidio trigolion y dyffrynoedd, a gwneir pob parotoadau anghenrheidiol er eu gwrthwynebu, a sicrheir pob sefydiad rhagddynt. Ceir haesion helaethach yn rhif. 42 o'r "Star."

Dywedir fod A. W. Babbitt, Ysw., Golygydd y "Western Bugle," Iowa, wedi ei benodi i fod yn Ysgrifenydd Taleithiol i Diriogaeth Utah.

Angeu.—Angeu a ofnir ac a ochelir gan y drygionus, fel craig ag y maent bob mynyd o'u bywyd am ddianc rhagddi; ond y dyn duwiol a edrych yn mlaen gyda sirioldeb ar angeu, fel porthladd heddwch a dedwyddwch tragywyddol, yr hwn a obeithia ei gyrhaedd yn fuan mewn diogelwch.

Gorchfygwch eich nwydau; bydd yn fwy gogoneddus i chwi gael yr oruchafiaeth ar eich calonau eich hunain, nâ chymmeryd dinas gaerog.

---

Taliadau o Hydref 1 hyd Hydref 6.—Sir Fflint, £2 9s; Dowlais, £1 1s 1c; Hirwaen, 3s 4c; Georgetown, 5s; Cwmbach, 11s.—Cyfanswm, £4 9s 5c.

Apwyntiad.—Apwyntiwyd yr Henuriad Thomas Morgan i lywyddu Cynnadledd Sir Frycheiniog, yn lle John D. Roberts.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 16.] HYDREF 15, 1853. [CYF. VI.

## BEDYDD.

### YMDDYDDAN RHWNG TAENELLWR, BEDYDDIWR, A SANT.

TAENELLWR—Nid wyf fi yn ystyried fod dim byd o bwys mewn bedydd; ond mae yn wir y dylem ddilyn yr esiamplau a roddwyd i ni gan Grist a'i apostolion. Cael gwreiddyn y mater yw y pwnc; oblegid pa leshad all fod mewn ychydig neu lawer o ddwfr?

Bedyddiwr—Dim byd o bwys mewn bedydd, aïe? Oes, mae y pwys mwyaf ynddo, a hyny a gewch chwi a minnau weled yn y byd arall. Ond am nad oes pwys mewn taenellu babanod, mi a'ch credaf; ond na ddywedwch wrthyf fi, nad oes pwys yn y bedydd sydd o osodiad Crist, canys nis gallaf eich goddef. Mae hyny yn hollol groes i'm grân.

Taenellwr—Yr ydych chwi y Bedyddwyr yn gosod llawer gormod o bwys mewn bedydd: amryw weithiau y clywais eich pregethwyr yn taeru nas gall neb fyned i mewn i deyrnas nefoedd, heb gael ei drochi genych chwi. Och fi! mae hona yn hen athrawiaeth gâs. Beth, ai tybied nad oes neb ond Bedyddwyr yn gadwedig! Gadewch mai trochi sydd yn iawn (yr hyn nid wyf fi am fynyd yn gredu), etto ni ddylech gondemnio pawb sydd yn barnu fel arall. Yr ydych chwi am osod eich hunain allan fel rhai anffaeledig, yn gwybod y cyfan. Ond pa le y cawsoch eich holl wybodaeth a'ch sicrwydd? Onid oes genym ni yr un Beibl a chwithau? ac oni fedrwn ddarllen, a barnu drosom ein hunain, fel chwithau. Nid ydych chwi wedi

gweled yr apostolion gynt yn bedyddio fwy nâ ninnau: yr un hanes sydd yn eich hysbysu chwi mai trochi dynion mewn oed yw y dull iawn o weinyddu bedydd, ag sydd yn dangos i ninnau mai taenellu babanod, yn gystal â dynion mewn oed, yw y dull iawn. Yn awr, ar ddeall yr iaith wreiddiol yr ymddibyna yr holl ddadl i gyd; ac fe wyddoch fod gan y Taenellwyr gystal dysgedigion i ddeall hono ag sydd gan y Bedyddwyr. Gan hyny, pa fodd yr ydych chwi yn gallu bod gymmaint yn fwy sicr nâ ninnau?

Sant—Yn wir, dyna ymresymu lled dda. Ond nid wyf fi am ddweyd dim yn awr, eithr gwrandawaf arnoch chwi yn mhellach, canys yr wyf yn caru clywed dynion yn ymresymu yn gall.

Bedyddiwr—Nid oes modd i ni osod gormod o bwys ar fedydd, ond dichon fod ein pregethwyr weithiau yn dweyd ychydig yn ormod wrth ei bregethu. Er mai bedydd yw y drws i deyrnas nefoedd, etto credwn fod enwadau ereill yn gadwedig fel ninnau, ond nad ydynt yn myned i mewn trwy y drws iawn. Mae yn rhaid eu bod yn dringo i mewn rhyw ffordd arall, neu fod Duw wedi agor drws newydd. Ond o berthynas i'n hanffaeledigrwydd ni, dywedaf wrthych nad ydym yn hòni y fath beth: eithr credwn fod yr ysgrythyr yn anffaeledig, ac nas gall fod yn darlunio dau fedydd, pan y dyweda ei hun mai un bedydd sydd. Mae yn wir fod gan enwadau ereill lawer o wyr dysgedig iawn, ond y mae rhai o honynt yn gorfod cyfaddef mai ein dull ni o fedyddio sydd yn iawn; ac am hyny, nid rhyfedd ein bod ni yn ymddangos mor benderfynol gyda'n pwnc. Mae y rhan fwyaf o ddysgedigion yn cyfaddef mai ystyr mwyaf cyffredin y gair Groeg am fedyddio yw trochi neu suddo, ac nad yw byth yn sefyll am daenellu. Hefyd, dywedai y Parch. J. Evans, gynt o Ruddlan, fod hyd y nod y gair Cymraeg *bedydd* wedi deilliaw o *bedd* a *suddo*, yr hyn a wnai ystyr bedydd yn suddo mewn bedd. Mae pob peth yn cyd-dystio mai trochi yw y dull iawn.

Taenellwr—Nid wyf fi yn ammau nad yw dynion yn dweyd llawer o bethau, ond credwyf fod mwy nâ'r hanner a ddywedant yn cael ei adael yn ddi-brawf. Clywais innau y diweddar Barch. J. Edwards, Caerfyrddin, yn dweyd ar làn afonig yno unwaith, mai ystyr y gair Cymraeg *bedydd* oedd trochi, gan ei

fod wedi tarddu o *bed*, afon, neu ddwfr, ac *ydd*, terfyniad gweithredol, yr hyn a arwyddai *afonyddio!* Ond beth pe credem fympwy pawb! Dywed Dr. Owain Pugh, o'r ochr arall, mai ei ystyr yw "rhodd oddiwrth Dduw;" yr hyn ni arwydda drochi na thaenellu. Ond os yw y Bedyddwyr yn credu mai trochi yw ystyr bedyddio, paham y gosodasant *trochi* yn ei le yn eu cyfieithad o'r Testament. Rhwydd iawn fuasai i minnau ddyfeisio rhyw wreiddiau ereill i'r gair, er arwyddo taenellu; ond gwell genyf beidio; canys y mae gormod eisoes wedi ei wneyd er dallu llygaid y werin. Mae eich sylwad ynghylch dau fedydd yn eithaf teg, oblegid ni all fod rhagor nag un o Dduw; ac y mae yn dda genyf ddeall nad ydych chwi mor rhyfygus â meddwl nad oes neb yn gadwedig ond Bedyddwyr.

Bedyddiwr—Nid ydym ni yn ymddibynu llawer ar ystyr y gair Cymraeg *bedydd*, eithr ar ystyr y gair Groeg, *baptizo*. Prif ystyr y gair hwn yw trochi. Mae llawer o eiriau ereill hefyd mewn cyssylltiad â hwn yn profi tu hwnt i ddadl mai dyna ei ystyr; megys "bedyddio *yn* yr Iorddonen," myned "i waered *i'r* dwfr," "dyfod i fyny *o'r* dwfr," "bedyddio yn y cwmwl ac yn y môr," "claddwyd ni gan hyny trwy fedydd," &c. Yn awr, pa ddyn yn meddu synwyr, wedi darllen yr ymadroddion hyn yn yr ysgrythyr, na wêl mai trochi yw yr unig ddull iawn.

Taenellwr—Ond pa beth, o'r ochr arall, a feddyliwch am "fedyddio *â* dwfr," "Rebecca yn myned *i'r* ffynnon," heb wlychu; bedyddio yn nhŷ ceidwad y carchar, heb sôn am fyned allan; bedyddio y tair mil mewn oddeutu hanner diwrnod; a bedyddio holl Judea, a'r wlad o amgylch yr Iorddonen, gan un dyn, ac ar dywydd rhewllyd. Hefyd, ni allasai bedydd y Môr Coch fod yn drochi, canys cerddasant drwyddo yn droedsych: ac o ganlyniad, rhaid mai eu taenellu a gawsant, trwy fod brigau y tònau yn dyferu arnynt. Ac y mae yn rhaid i chwi gyfaddef fod babanod yno hefyd, ac iddynt oll gael eu bedyddio; a rhesymol yw barnu fod babanod gyda cheidwad y carchar, a chyda Lydia, ac ereill a ellid enwi. Ac oni orchymynir "dysgu yr *holl genedloedd*, gan eu bedyddio?" a pha fodd y gellir gwneyd hyny, heb fedyddio babanod? Yn wir, y mae cymmaint o resymau i'w cael yn erbyn y Bedyddwyr, ag sydd ganddynt hwythau yn erbyn y Taenellwyr.

Bedyddiwr—Eithr nid oes genych chwi un adnod bendant

dros daenellu plant. Os gellwch ddangos adnod bendant, ni a roddwn y pwnc i fyny. Mae genym ni adnodau pendant i brofi mai credinwyr yn unig yw deiliaid bedydd. "Y neb a *gredo*, a fedyddir;" a chan na all babanod gredu, ni ddylent gael eu bedyddio. "A'r rhai a dderbyniasant y gair yn ewyllysgar, a fedyddiwyd;" ac nid babanod oedd y rhai hyny. Mae yn wir fod genych chwi hanes am deuluoedd yn cael eu bedyddio; ond fe all teulu fodoli, heb fod ynddo blant. Etto, gyda golwg ar fedydd y Môr Coch, gallaf ddweyd mai bedydd ffigurol ydoedd, a'i fod yn gysgod o'n bedydd ni. Yr ydych chwi, Mr. Sant, yn credu yr un fath â ninnau am fedydd, onid ydych? Gadewch i ni glywed ychydig o'ch meddwl ar y pwnc hwn.

Sant—Wel, yn wir, gyfeillion, mi a gefais gryn dipyn o ddifyrwch wrth wrandaw arnoch: ond gallaf ddweyd eich bod yn awr mor bell o gytuno â'ch gilydd, ag oeddech cyn dechreu dadleu. Ymddengys i mi eich bod eich deuoedd yn dra selog dros opiniynau eich tadau, ac na fynwch roddi i fyny i'ch gilydd. Pe darllenasech fwy ar yr ysgrythyrau, a llai ar esboniadau, mae yn ddiau y gwelsech y pwnc yn llawer eglurach. Yr ydym oll hefyd wedi ein magu mewn gormod o draddodiadau dynol, i allu deall yr ysgrythyrau, heb fod rhywun, fel Phillip gynt, yn llawn o ddadguddiad, wrth ein hyml yn ein dysgu. Mae yn ddiau nad oes ond un bedydd iawn, ac y mae hwnw o osodiad dwyfol; a rhaid cael dynion awdurdodedig oddiwrth Dduw er ei weinyddu. Mae yn bosibl i fedydd arall gael ei weinyddu yr un modd â hwnw, heb ei fod yn fedydd iawn. Un felly a weinyddwyd i'r deuddeg dyscybl yn Ephesus, onide ni fedyddiai Paul hwynt yr ail waith: profwyd y sawl a'u bedyddiodd gyntaf yn dwyllwr, oblegid na addawodd yr Ysbryd Glân, yr hwn a addawai holl weision Duw bob amser. Felly, dichon yn rhwydd nad yw un o'ch dau fedydd chwithau yn fwy iawn nâ hwnw. Ymddengys i mi nad yw y Taenellwyr na'r Bedyddwyr yn meddu sicrwydd y naill ochr na'r llall, ond eu bod yn gweinyddu bedydd fel y barnant oreu, ac yn ol fel y deallant yr ysgrythyrau. Pe byddai Duw wedi eu hawdurdodi i fedyddio, buasai yn sicr o fod wedi dangos iddynt y ffordd iawn, yn lle eu bod yn amrafaelio â'u gilydd yr holl amser; a phe buasai Duw wedi dangos iddynt y ffordd iawn, buasent hwythau yn ei gwybod yn drwyadl, ac ni allai un ddadl fodoli

yn ei chylch. Mae pregethwyr Saint y Dyddiau Diweddaf wedi cael dadguddiad gan Dduw, ac wedi eu hawdurdodi i weinyddu bedydd; o ganlyniad, nid ydynt hwy yn ymddibynu dim ar eu hopiniynau blaenorol, eithr deallant yr ysgrythyrau wrth lewyrch y goleuni a dderbyniant. Mae dadguddiad oddiwrth Dduw yn allwedd i ddeall y cyfan a sonir am fedydd yn yr ysgrythyrau. Gwyddom mai trochi yw y dull iawn o weinyddu, ac mai credinwyr yw yr unig ddeiliaid; felly, trwy wybod hyny yn mlaenllaw, hawdd iawn yw i ni ddeall pob cyfeiriad a wneir at fedydd yn yr ysgrythyrau. Gwyddom hefyd mai er maddeuant pechodau y mae bedydd, a bod yn ofynol i bawb ddwyn ffrwythau addas i edifeirwch; a gwyddom y rhaid i bawb gael eu "geni o ddwfr," cyn yr ânt i mewn i deyrnas Dduw. Gan mai er maddeuant pechodau y bedyddir, nid oes eisieu bedyddio babanod; ac nid yw bod yr "*holl genedloedd*" i gael eu dysgu a'u bedyddio, yn un prawf dros fod babanod i gael eu bedyddio. Dysgu yr *holl* genedloedd a olyga dysgu pawb yn *mhob* cenedl ag ydynt wrthddrychau dysg; a'r un peth a ellir ddywedyd am fedyddio, sef bedyddio y rhai hyny a gredant y ddysg. Etto defnyddir y geiriau "bedyddio â dwfr," er gwahaniaethu rhwng hyny â'r "bedyddio â thân;" ac nid er dangos taenellu na throchi. Ac o barthed i fedydd teulu ceidwad y carchar, darllenir yn Act. xvi, 33, 34, iddo ef, wedi golchi briwiau yr apostolion, a chael ei fedyddio, "eu dwyn hwynt i'w dŷ," yr hyn a brofa iddynt fod allan yn bedyddio. Etto, o barthed y tair mil a fedyddiwyd, digon rhwydd cyfrif am hyny pan gofiom fod "deg-a-thrugain ereill," heblaw y deuddeg, yn meddu yr hawl o fedyddio; ac am hyny, yr oedd digon o amser i'w bedyddio oll. A chyda golwg ar y lliaws a fedyddiodd Ioan, nid oes hanes iddo fedyddio mwy nag a allai; yr oedd ganddo ei amser o'i flaen, ac os bedyddiodd lawer, cafodd lawer o amser. Ond o barthed bedydd y Môr Coch, ymddengys i mi eich bod eich deuodd yn mhell o'ch lle. Oni allasai yr Israeliaid, wedi croesi y môr, gael eu bedyddio ynddo yr ochr draw yn rheolaidd, a chael eu gorchuddio hefyd â'r cwmwl niwl neu'r golofn dân, yr hyn a allai fod yn fedydd yr Ysbryd? Ond nid yw yn rhesymol i'r babanod gael eu bedyddio, gan mai er maddeuant pechodau yr ydys yn bedyddio; ac os oedd babanod yn y teuluoedd a enwasoch

chwi, yr oedd yn rhaid eu bod yn ddigon mawr i gredu, cyn y cawsent eu bedyddio. Eithr rhag blino eich amynedd yn bresennol, annogaf bod un o honoch i ddarllen y traethawd a gyhoeddwyd gan y Saint yn Merthyr, ar y pwnc o Fedydd. Mae hwnw yn trin y pwnc yn fanylach nag y caniatâ amser i mi wneuthur yn bresennol. Felly, dystawaf gyda gofyn i chwi yn ngeiriau Paul, "A dderbyniasoch chwi yr Ysbryd Glân, er pan gredasoch?" Os naddo, mae yn bryd i chwi ufyddhau i'r gwir fedydd, gyda yr hwn yr addewir dawn yr Ysbryd Glân, fel y caffoch wybodaeth i chwi eich hunain trwy ei dderbyniad. Mae yn wir y gellwch chwi fod mor onest â'r dyscyblion hyny yn Ephesus; ond mae yn bosibl i'r rhai onestaf yn aml gael eu cam-arwain ar gyfeiliorn. Am hyny, gwnewch brawf drosoch chwi eich hunain; canys y sawl a wnelo ewyllys Duw, yn ol geiriau Crist, a gant wybod am y ddysgeidiaeth, pa un a yw o Dduw ai peidio. Dyna fi yn fyr wedi hysbysu fy meddwl; bernwch chwithau drosoch eich hunain.

Bedyddiwr—Wel, yr ydych wedi dweyd llawer o bethau teilwng o sylw, ac addawaf edrych i mewn iddynt, pan gaf amser. Mae yn awr yn hwyr, a gwell fe ddichon yw ymadael.

Taenellwr—O'r goreu, ynte, ni a ymadawn, canys yr wyf fi wedi fy nghwbl argyhoeddi.

Sant—Galwch heibio, ynte, i gael eich bedyddio; "canys y neb a gredo, ac a fedyddier, a fydd cadwedig."

---

## ARWYDDION Y DYDDIAU DIWEDDAF.

[Allan o "Seren Gomer," am Ionawr, 1827.]

Ateb Crist i'w ddyscyblion, pan ofynasant iddo, Pa arwydd fydd o'th ddyfodiad i ddinystrio y deml a Jerusalem; ac o ddiwedd y byd? oedd, Edrychwch rhag i neb eich twyllo chwi. Canys daw llawer yn fy enw i, ac a ddywedant, Myfi yw Crist, ac a dwyllant lawer; ïe, pe byddai bosibl yr etholedigion. Yn wir, mawr yw y twyll sydd wedi bod yn mhob oes o'r byd, mewn pethau amserol, trwy ddichell a dywedyd anwiredd, megys ag y safodd dau o feibion y fall yn erbyn Naboth am ei fydol etifeddiaeth, sef ei winllan: ond nid yw y

pethau hyn, na phethau ereill o'r un natur, yn haeddu eu cyffelybu i'r golled fawr o dwyllo yr enaid, yr hwn sydd yn fwy ei werth nâ'r holl fyd; ac am hyny, medd Brenin Seion, "Edrychwch rhag i neb eich twyllo chwi." Yr ydym i ddeall, yn ol addysg Crist, mai yr un cyffelyb arwyddion oedd yn bod o flaen dinystr arswydus Jerusalem a diwedd y byd. Fel yr oedd hi yn nyddiau Noah hefyd, felly y bydd dyfodiad Mab y dyn. Mawr oedd prysurdeb yr oes o flaen y diluw, yn bwyta ac yn yfed, yn priodi ac yn rhoddi i briodas, hyd y dydd yr aeth Noah i mewn i'r arch. Yn yr un modd hefyd yn amser Lot, yr oeddynt yn prynu ac yn gwerthu, yn planu ac yn adeiladu, eithr y dydd yr aeth Lot allan o'r ddinas y gwlawiodd yr Arglwydd dân a brwmstan o'r nef, ac a'u dyfethodd hwynt oll. Nid yw y pethau a enwyd yn anghyfreithlawn i'w gwneuthur yn eu lleoedd priodol; ond dangos y mae Crist y bydd y pethau hyn yn rhedeg yn brysur o flaen ei ddyfodiad ef yr ail waith; ïe, hyd y dydd yr ymddengys arwydd Mab y dyn ar gymylau y nef.

Ni wnaeth Duw un amser ddinystr ar fyd, gwlad, nâ dinas, heb eu rhybyddio. Er enghraifft, gwelir mai Noah oedd y tyst cyfiawn yn rhybyddio y byd o flaen y diluw; Lot gyfiawn yn Sodom; Jeremiah oedd yn rhybyddio o flaen y caethiwed i Fabilon; Jonah a rybyddiodd y Ninefeaid; Moses ac Aaron oedd yn dadguddio Baich yr Arglwydd i'r Aifftiaid. Pan mae yr Arglwydd yn dadguddio fod dinystr yn dyfod, mae y diafol yntau trwy ei offerynau, y rhai ydynt aml eu rhif, â'i holl rym am dwyllo, a dywedyd yn groes i air Duw, o herwydd fod ganddo lid mawr, a gwybod nad oes iddo ond ychydig amser. Cyn i Ahab brenin Israel gael ei dwyllo, cafodd ei rybyddio gan un o wir brophwydi yr Arglwydd, ond ni bu iddo ei wrando, o herwydd yr oedd ganddo bedwar cant o un genau yn dywedyd pethau mwy unol â'i feddwl. Yr oedd llu o honynt yn amser Jeremi yn gwrth-ddywedyd, ac yn rhyngu bodd y genedl trwy eu twyllo a dywedyd anwiredd, &c. Yn ol tystiolaeth y gwirionedd, bydd i Dduw roddi ei efengyl yn dystiolaeth i bob llwyth, iaith, a chenedl ar wyneb yr holl ddaear, ac yna daw y diwedd; megys ag y bu iddi gael ei phregethu yn ol geiriau Crist cyn dinystr Jerusalem. Medd Paul, "Yr hon a glywsoch, ac a bregethwyd yn mysg pob creadur ag sydd

dan y nef; yn ddiau i'r holl ddaear yr aeth ei sŵn hi, a'i geiriau hyd derfynau y byd." A phan y mae yr Arglwydd yn dadguddio trefn addoliad gerbron pechaduriaid, er eu dysgu a'u rhybyddio i ffoi rhag ei ddigofaint Ef, y mae y gelyn-ddyn, trwy ei offerynau, yn gosod i fyny ei grefydd mor agos ag y gall, heb fod yn holloi felly, i grefydd y Jehofah, er ei fantais i ddal a thwyllo eneidiau dynion; megys ag y safodd Jannes a Jambres yn erbyn Moses, trwy wneuthur y cyffelyb, er twyllo a dal Pharaoh yn ei rwyd, felly hefyd mae ganddo yn mhob oes rai yn sefyll yn erbyn y gwirionedd. Pan oedd y Jehofah, dan yr hen gyfammod, trwy weledigaeth neu freuddwyd, yn dadguddio ei ewyllys i'w eiddo er eu rhybyddio, diafol yntau oedd yn anfon ei weision, y rhai oeddynt yn sefyll yn ddigywilydd gerbron eu cydgreaduriaid, ac yn dywedyd eu bod hwy yn genadau oddiwrth Dduw, neu mai yr Arglwydd a'u danfonodd, a'r Arglwydd heb eu danfon; a hwy a fynegant un ei freuddwyd, ac arall ei weledigaeth, er twyllo eneidiau dynion. Mawr oedd eu cynnydd, eu parch, a'u llwyddiant, trwy fod eu hathrawiaeth yn unol â natur, yn tarddu oddiwrth syniad y cnawd, a hunan-fyfyrdod pa fodd i ryngu bodd y byd. Yn y rhai hyn, sef y prophwydi, yr athrawon, a'r rhai blaenaf o'r bobl, yr oedd y drwg yn dechreu. Af, medd y prophwyd, at y gwŷr mawr, ac a ymddyddanaf â hwynt; canys hwy a wybuant ffordd yr Arglwydd, a barn eu Duw: eithr y rhai hyn a gyd-dorasant yr iau;—yn yr un modd pawb, am gael eu gweled a chasglu cyfoeth. Y penaethiaid yn rhoddi barn er gwobr, a'r offeiriaid a ddysgant er cyflog, a'r prophwydi a ddewiniant er arian, a phawb yn caru rhoddion. Y pethau hyn oedd ffrwyth eu meddyliau. Hynod mor ddoeth oeddynt yn Jerusalem cyn ei dinystr hi, yn pregethu yn mhob heol, yn gweddio er mwyn cael eu gweled, yn derbyn parch a gogoniant gan eu gilydd, ac yn dyrchafu yn uchel draddodiadau y tadau, a dysgu yn lle dysgeidiaeth orchymynion dynion, a thrwy hyny yn mathru deddfau Seion; yn fawr eu gofal pa beth a wisgent, gan wneuthur yn llydain y *phylacterau,* fel y byddent yn wrthddrychau cymhwys gerbron eu cydgreaduriaid o gael eu galw yn y marchnadoedd *Mr.* a *Syr.* Y pethau hyn oeddynt yn arwydd i'r dyscyblion o ddinystr Jerusalem; yr un modd hefyd o ddiwedd y byd hwn.

Mae arwyddion yr oes hon yn cyrhaedd at yr un mesur â'r hyn a fu yn arwyddion o ddinystr y byd yn amser Noah, o ddinystr Sodom a Gomorrah, ac o ddinystr Jerusalem. Yr hyn sydd yn ymddangos yn yr oes hon sydd yn eglur ddadguddio ei fod Ef yn agos, ac yn ymyl y drysau. Y naill deyrnas yn erbyn y llall,—newyn, a nodau, a daeargrynfäau mewn manau,—a chyfyng-gynghor yn mysg penaethiaid y cenedloedd pa fodd y dystawant gŵyn eu cydgreaduriaid.—*(Dechreuad gofidiau yw hyn oll.)* Ac yn ngwyneb pob peth, y mae enbydrwydd y dyddiau diweddaf yn ymddangos yn eglur, balchder yn uchel ei ben, dynion yn ymffrostgar, yn ariangar, yn gablwyr, yn derbyn wyneb, yn tori cyfammod, yn fradwyr, yn waedwyllt, yn caru melys chwant yn fwy nag yn caru Duw; hefyd yn enllibaidd, yn ddifenwyr, yn genfigenus, yn ymgodi y naill yn erbyn y llall, a chariad at y gwirionedd yn oeri. Yn wir, Mr. Gomer, wrth ddarllen yr ysgrythyrau, y rhai ydynt ddwyfol reol anffaeledig i bob dyn, yn sobr a diduedd, fe welir mawr wahaniaeth rhwng deddfau Crist a'i santaidd apostolion â deddfau llawer o grefyddwyr yr oes hon. Mae y byd wedi myned dan yr enw *Byd Cristionogol*, ac oddiar hyny yn cael ei ddysgu i foesoldeb cyn adnabod y Cymmod, yr hyn sydd yn twyllo yr enaid, trwy fod y fath athrawiaeth yn arwain dynion i roddi eu pwys ar eu gweithredoedd eu hunain, neu eu rhagoriaeth ar ereill. Mawr yw yr ymestyniad yn gyffredin i ofalu pa beth a wisgant fel y byddont yn teilyngu parch, a pha beth a ddywedant fel y dywedo y byd yn dda am danynt. Y maent yn talu mwy o barch, ac yn dwyn mwy o sêl dros orchymynion dynion nag y maent dros athrawiaeth a gorchymynion Crist a'i santaidd apostolion. Nid oes unrhyw sail ysgrythyrol i alw neb yn Gristionogion ond y sawl a gyffesant y ffydd, ac a ufyddhant yn ewyllysgar i gadw pob beth a orchymynodd Crist: a gwae i'r byd pan osodo dynion oleuni am dywyllwch, a melys am chwerw; a bloeddio fod hyfrydwch a heddwch, pan fyddo dinystr yn agos ac yn ymyl y drysau.

Ar hyn y gorphwysaf, yr eiddoch,

R. O'R GOGLEDD.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 242.]

65. Cariad a dygasedd raid fod yn ymsyniad anadnabyddus yn flaenorol idd y wybodaeth o dda a drwg. Casineb a gyffroir gan rywbeth yn perchenogi ansoddau anhyfryd; ond, megys ag yr oedd pob peth yn dda iawn, nid oedd dim yn gyfaddasedig i gynhyrfu y nwyd hon: nid oedd cynneddfau drwg, hyd yn hyn, wedi eu dirnad ganddynt: y fath syniadau nis gellid eu cynnyrchu ynddynt hwy, heb roddi mwy neu lai o boen; ond y teimlad o boen nis gellid ei ddeffroi oddieithr gwneuthur drwg; gan hyny, yr oedd yn anhyall iddynt hwy i gael y teimlad o gasineb, cyn gwybod drwg. Ond bôd yr hwn nid oes ganddo wybodaeth o gasineb, nis gall gael gwybodaeth o gariad; o herwydd cariad, gan fod yn wrthwynebol i gasineb, a ddeallir yn unig trwy gyferbyniad. Mewn trefn i garu, rhaid i fôd ganfod rhywbeth da yn y gwrthddrych a gerir; ond gan nad oedd gan Adda un amgyffred am dda, nis gallai garu unrhyw beth o herwydd ei fod yn meddu yr ansawdd o ddaioni, ac am hyny, nis gallai ffurfio un meddylrith am natur cariad. Cariad a chas, ynte, y'nt syniadau deilliedig o'r wybodaeth o dda a drwg.

66. Os nad oedd gwybodaeth o dda a drwg, o ddedwyddwch a thrueni, o gyfiawnder a thrugaredd, o gariad a chasineb, wedi cael lle yn meddyliau ein rhieni cyntaf, cyn y cwymp, mae yn amlwg eu bod hwy yn hollol ddiffygiol o'r cynneddfau angenrheidiol i fwyniant o gymdeithas bodau o uwch gradd: yr oeddynt yn hollol anghymhwys i ymddyddan, ac ymresymu, a chymdeithasu, gydag un gradd o foddlonrwydd, â bodau y rhai oeddynt yn y meddiant o'r oll o'r wybodaeth hon; yr oeddynt yn hollol anghyfartal i ddal unrhyw allu neu awdurdod yn mhlith y cyfryw rai a wyddent dda a drwg; yr oeddynt yn llwyr anaddas i eistedd mewn barn ar droseddwyr—i ddirnad natur bai—i gospi yr euog—i ddangos trugaredd i'r trallodedig—i garu da a chasâu drwg: o herwydd o ddiffyg gwybodaeth brofiadol nis gallent, am fynydyn, fod wedi cael ymddiried iddynt yr ymarferiad o un o'r galwedigaethau pwysfawr rhai'n. Ac fel hyn canfyddwn, megys ag y gosodasom gerbron eisoes mewn ymadrodd blaenorol, fod rhyw wirioneddau pa rai y gellir eu dysgu yn unig trwy brofiad; tra mae gwirioneddau

ereill pa rai a ellir eu cyrhaedd trwy reswm, adfyfyriad, sylwad, a dadguddiad. Ond gwirioneddau profiadol ydynt yr un mor anghenrheidiol â'r cyfryw a gyrhaeddir trwy wahanol gychwyniad.

67. Fel hyn gwelwn fod gwybodaeth ein rhieni cyntaf yn ddirfawr derfynol. Er i'r Arglwydd ffurfio Efa, a'i dwyn hi at Adda, etto mae yn rhyfeddol ammheus pa un a allent yn eu sefyllfa ddiniwed garu neu gasâu y naill y llall. Mae yn anhawdd i ni amgyffred pa fodd y gallai cydweddawg gariad fodoli rhwng y ddau ryw, pan nad oedd ganddynt wybodaeth o dda a drwg, o lawenydd neu drueni. Y teimlad hwnw o lawenydd pa un a fodola yn awr rhwng gwr a gwraig, rhaid oedd iddynt fod yn ddyeithr iddo. Mae hefyd yn ddirfawr ammheus pa un a allent hwy yn eu sefyllfa o anwybodaeth, genedlu rhywiogaeth farwol. Cywilydd neu wylder oedd rywbeth nad oedd ganddynt un meddylrith am dano; oddiyma, darllenwn, "Ac yr oeddynt ill dau yn noethion, y dyn a'i wraig, ac nid oedd arnynt gywilydd" (Gen. ii, 25). Hwynthwy, gan fod yn anfarwol, ac heb ganddynt waed yn llifo o fewn idd eu cyfansoddiadau, a chan fod yn amddifad o'r meddylrith o gariad a chasineb, o serch rhywiol, ac o bob egwyddor sydd yn deilliaw o wybodaeth am dda a drwg, oeddynt yn anaddas, hyd yn hyn, i gyflawni y gorchymyn mawr hwnw, "Byddwch ffrwythlawn a lliosogwch a llenwch y ddaear" (Gen. i, 28); yn ddarbodawl fod gan y gorchymyn gyfeiriad at hiliogaeth farwol o gnawd ac esgyrn. Cnawd ac esgyrn a wneir allan o waed; ac heb waed, cnawd ac esgyrn nis gellid eu cenedlu a'u geni; yn awr, megys mae gwaed yw y bywyd naturiol, ac yn cynnwys ynddo ei hun farwoldeb ac angeu, mae yn amlwg nad oedd gan Adda ac Efa yr hylif marwol hwnw yn llifo o fewn idd eu hanfarwol gyfansoddiadau; ac etto, heb waed, nis gallasent byth fod wedi cenedlu plant o gnawd ac esgyrn. Os bwriad yr Hollalluog oedd, i ddyn yn ei ail sefyllfa, i genedlu cyrff neu babellau yn unig, ac nid ysbrydoedd, yna yr oedd yn anmhoslbl iddynt hwy i gyflawni yr amcan hwnw nes wedi y cwymp. Yr oedd yr ysbrydion eisoes wedi eu cenedlu yn y nef; gofynai yr ysbrydion rhai'n babellau; gallai fod yn ddyledswydd dyn yn y byd hwn i genedlu y pabellau rhai'n, fel y gallai ysbrydion diniwed o fyd yr ysbrydoedd gymmeryd i fyny eu trigfan

ynddynt hwy. Y gwaith hwn, dyn, yn y byd hwn, nis gallai ei wneyd, oddieithr i waed gylchredeg tufewn ei redweliau a'i wythienau. Yn awr, yr Arglwydd nis gallai, yn gysson â'i ddaioni, reoleiddio gwaed yn nghyfansoddiad dyn, ac fel hyn ei ddarostwng ef i farwolaeth. Efe gan hyny a'i gwnaeth yn anfarwol, trwy gyd-drefniad mewn cyssylltiad â'i gnawd a'i esgyrn, anfarwol hylif o natur burach nâ hono o waed—hylif ysbrydol.

68. Mewn trefn ag y gallai dyn gael y fraint fawr ragorol wedi ei rhoddi iddo o wybodaeth o dda a drwg, dedwyddwch a thrueni, cyfiawnder a thrugaredd, cariad a chasineb, o liosogiad a llenwad y ddaear, â chyrff neu babellau i'r ysbrydion—yr Arglwydd a ffurfiodd y pren gwybodaeth, ac felly cyfansoddodd ei ffrwyth, fel os ei cymmerid yn y cyfansoddiad, y dinystriai ei anfarwoldeb, ac achosai i waed i draws-feddiannu lle yr hylif ysbrydol, ac fel hyn, trwy gyfranogiad ein rhieni cyntaf o'r pren, y gosodent eu hunain mewn cyflwr i liosogi eu rhyw, neu mewn geiriau ereill, gyrff o gnawd. Ond a ddarfu i'r Arglwydd orchymyn iddynt i fwyta o'r ffrwyth hwn? Naddo: y fath orchymyn a fyddai yn anghysson â'i ddaioni Ef. Yr oedd yn berffaith gysson â'i briodoleddau i wneyd y pren: yr oedd yn berffaith iawn fod iddo ei blanu yn nghanol yr ardd, lle na allai Adda a'i wraig fethu ei ganfod ef, fel yr elent yma a thraw gan fwyta o'r amrywiol ffrwythau â pha rai yr oedd yr ardd yn oludog. Ond gan wybod fod y ffrwyth yn cynnwys ynddo farwolaeth ac angeu, ni theimlodd yn gyfiawnhaol i adael Adda ac Efa gyfranogi o hono, heb roddi iddynt rybydd o'r canlyniadau pa rai a ddilynent. Y Nefoedd a ystyriasent yr Arglwydd yn anghyfiawn, yn gymmaint a'i fod Ef wedi gwneyd y pren a'i osod o fewn cyrhaedd y dyn, pe na osodasai Efe ef ar ocheliad i beidio bwyta o hono. Am hyny y rhoddodd yr Arglwydd iddynt hwy orchymyn caeth na fwytaent o'r ffrwyth, gan ddywedyd wrthynt y byddent feirw yn ddiau, os y cyfranogent o hono. Gan fod gan yr Arglwydd rag-wybodaeth o bob peth, gwyddai y byddai i Adda ac Efa, o herwydd eu mawr anwybodaeth, i gael eu hudo yn hawdd i anufyddhau i'r gorchymyn hwn, Efe, gan hyny, a oddefodd i Satan fyned i mewn i gorff rhyw fwystfil, a elwir sarff, ac i lefaru trwy y sarff, a hudo ein rhieni cyntaf i fwyta o'r ffrwyth gwahardded-

ig. (Gwel y cyfieithad ysbrydoledig o eiddo Joseph Smith o'r drydedd bennod o Gen.) Hwy a ymroddasant i'r demtasiwn: gallasai yr Arglwydd yn awr roddi arnynt boen, a thrueni, a marwolaeth, ac etto fod yn gyfiawn; oblegid hwy a anufyddhasant ei orchymyn. Hwynthwy yn awr a wnaethwyd yn farwol trwy eu gweithredoedd eu hunain. Dylifai gwaed yn awr o fewn eu cyfansoddiadau, a hwy a osodasant eu hunain mewn cyflwr i "liosogi a llenwi y ddaear" ag hiliogaeth farwol. Er i'r gorchymyn gael ei roddi cyn y cwymp i ddyn i liosogi, etto gwyddai yr Arglwydd yn dda na allasai dyn gyflawni y gorchymyn hwn, mor bell ag y deil berthynas â marwoldeb, hyd oni fyddai iddo trwy ei weithredoedd ei hun, gyrhaedd gwybodaeth o dda a drwg, a dwyn i mewn idd ei gyfansoddiad ei hun gyfnewidiad cymhwysiadol i'r dyben hwnw. Am hyny, y gorchymyn mawr cyntaf a roddwyd yn ol rhag-wybodaeth Duw mewn perthynas i'r cwymp, gan wybod y gwnelai dyn oddef y cospedigaethau o fwyta y ffrwyth gwaharddedig, a chan wybod tra o dan y gospedigaeth hono y byddai iddo gael ei barotoi i genedlu hiliogaeth gnawdol. Oddiwrth yr holl amgylchiadau, ymddengys yn amlwg i ni, na fwriadodd yr Arglwydd erioed i'n rhieni cyntaf i liosogi pabellau marwol nes y byddai iddynt, trwy eu gweithredoedd eu hunain, ennill gwybodaeth o dda a drwg, a chael eu parotoi i lywodraethu plant, yn ol egwyddorion cyfiawnder a thrugaredd, a natur uniondeb a chamwedd. Ymddangosai hefyd, fod y gorchymyn i amlhau wedi ei roddi i holl blant dynion, yn wrryw a benyw, ar y chwechfed dydd; ac fel nad oedd Adda ac Efa wedi eu ffurfio yn dymmorol hyd y seithfed dydd, rhaid fod y gorchymyn wedi cael ei roddi tra yr oeddynt yn myd yr ysbrydoedd, ac nid yw oll yn debygol eu bod yn cofio y gorchymyn ar ol iddynt fyned i mewn idd eu pabellau. Yn Llyfr Abraham, ni ddywedodd yr Arglwydd wrthym ei fod wedi rhoddi gorchymyn pendant i ddyn i liosogi, ond tra yn ymgynghori ar y pwnc ar y chwechfed dydd, y Duwiau a ddywedasant, "Ni a achoswn iddynt fod yn ffrwythlawn, ac amlhau, a llenwi y ddaear:" nid oedd hyn yn orchymyn, ond traethiad syml o'r hyn a wnelai y Duwiau. "Ni a achoswn iddynt fod yn ffrwythlawn," &c. Yn awr, gwelsom eisoes pa gynllun a fabwysiadwyd i achosi iddynt amlhau; yr oedd trwy osod o'u blaen

"y pren gwybodaeth," fel y gallasent, trwy yr ymarferiad o'u gorchwyliaeth eu hunain, gael eu cynnysgaethu â'r cymhwysderau gofynol, nid yn unig i ymddwyn plant marwol, ond i'w llywodraethu yn ol y cyfreithiau o ddrwg a da.

*(I'w barhau.)*

*Llanelli.* *Cyf.* D. E. Jones.

---

## YMFUDAETH.

[Allan o'r "Millennial Star," Hyd. 22, 1853.]

Edrycha y Saint yn mlaen at y tymmor ymfudol nesaf, gyda gradd mawr o bryder. Mae pob blwyddyn olynol yn eglur ddangos penderfyniad mwy diysgog i frysio ymaith, a dianc rhag angerdd y dymhestl sydd yn ymgasglu, yr hon sydd eisoes yn llenwi calonau llywodraethwyr â braw, ac yn achosi i wladwriaethwyr ac athronwyr ddarogan drwg am y teyrnasoedd ag sydd, a gwirio dydd dynesol eu mawredd a'u gogoniant ymadawedig. Ymddengys fod ysbryd yn ymddeor ar genedloedd y byd dwyreiniol, yn eu hannog braidd yn reddfol i wrthryfel a thywallt gwaed, neu i ymfudo i wledydd pellenig, yn neillduol i'r Cyfandir Americanaidd, yr hwn ydyw tir Seion. Mae y Saint, yn fwy nâ neb pobl ereill, yn dymuno dianc rhag y drwg trwy ffoedigaeth. Mae y cymhelliadau a roddir iddynt hwy, yn dymmorol ac ysbrydol, yn fwy nag a roddir i ereill, a dysgwylir yn rhesymol fod eu hymdrechiadau hwy yn fawr mewn cyferbyniad. Nid oes un Sant ag sydd yn meddu y rhyddid a'r modd i ymfudo, ac yn gwerthfawrogi y cyssylltiad mae yn ddwyn â'i lesoldeb dyfodol, a all aros heb deimlo fod yr amser yn golledig anadferol iddo ef. Y rhai nas gallant weled y pwysigrwydd o hono, ac na chymmerant rybydd trwy y ffoedigaeth gyffredinol, a allant gael eu synwyrau wedi eu bywiocâu, ar ryw foment annysgwyliadwy, gan y dydd drwg a'u goddiwedda ar fyrder.

Llawer a ymofynant os gallant ymfudo, y gauaf dyfodol, ar ddeg punt, fel y gwnaeth y Saint y gauaf diweddaf. Mewn atebiad i'r cwestiwn hwn, nis gallwn, yn bresennol, ond yn unig dywedyd, am i'r holl Saint, a allant, gasglu eu deg punt yr un, ac ni a wnawn yr oll a allwn er eu gweled yn ymfudo.

Ni allwyd parotoi er i'r Saint fyned dros y gwastadedd, y tymmor mynedol, ar ddeg punt yr un, eithr benthyciwyd arian er eu hymfudo drwyodd i'r Dyffryn. Nid ydym ni yn hysbys nad yw ein gair mor dda yn awr ag oedd y flwyddyn ddiweddaf, ac os parha felly, bwriadwn ymfudo pob Sant ffyddlawn a allo godi y swm hono, ac a ddymuno fyned i Seion. Nid ydym yn barod etto i hysbysu y telerau penodol ar ba rai y cymmerwn arnom i ymfudo cwmnioedd y deg punnoedd, eithr hysbyswn hwynt yn ddigon cynnar er i'r Saint fabwysiadu y cynghor a ddichon gael ei roddi ar y pwnc.

Yn y cyfamser, y cwestiwn yw—Pwy a all godi y deg punt, a phwy sydd eisieu ymfudo? Pe gallai Llywyddion y Cynnadleddau wybod am y nifer a ymfuda o'u Cynnadleddau, trwy godi deg punt neu ragor yr un, a'n cynnysgaethu ni â'r hysbysiaeth erbyn y cyntaf o Ragfyr, neu cyn hyny, byddai o gymhorth mawr i ni er hwylysu y trefniadau anghenrheidiol.

---

## DYLEDION LLYFRAU, *STAR*, &c.

[O'r "Millennial Star," Hyd. 22, 1853.

Hyderwn na fydd dim diffyg ymdrech o du y Dosparthwyr a'r Llywyddion, yn ystod y gweddill o'r flwyddyn, i dalu, mor agos ag y bo posibl, y dyledion sydd allan i'n swyddfa. Gwyddom nas gellir effeithio hyn, ond yn unig trwy ewyllysgarwch cyffredinol i *weithredu*, a pharodrwydd o du y Saint. Mae genym ddyben deublyg mewn golwg, wrth wasgu y peth hwn yn mlaen yr amser presennol, yr hwn nid yw yn unig er gwellhau sefyllfa y Cynnadleddau, trwy eu clirio o ddyled, eithr awdurdodir ni i ddefnyddio pob arian a ddaw i'n dwylaw, cyn diwedd y flwyddyn, er mwyn yr ymfudiad dyfodol. Mae pob peth a ddwg gyssylltiad â'r pwnc hwn, o bwys genym ni. Gallai dwy neu dair mil o bunnau o'r arian sydd allan yn awr mewn dyled, gael eu defnyddio er effeithio ymfudiad cannoedd o'r wlad hon y tymmor dyfodol. Os gall y Cynnadleddau drefnu i daflu y swm hon i'n dwylaw cyn diwedd y flwyddyn, caiff ei defnyddio er eu llesoldeb hwy. Bydd i'r Saint Prydeinig gael allan fod y fraint hon a ganiateir iddynt gan y Llywyddiaeth yn Seion, yn werth gafaelyd ynddi.

## AMRYWIAETHAU, &c.

DONIAU natur, a chyrhaeddiadau celfyddydol, ydynt yn werthfawr yn unig pan eu gosodir ar waith i gynnyddu rhinwedd, neu pan eu llywodraethir gan reolau anrhydedd.

Y CYFAILL cywir a agora ei fynwes yn ddiddichell, a gynghora yn uniawn, a gynnorthwya yn rhwydd, a anturia yn ddiofn, a gymmera bob peth yn amyneddgar, a amddiffyna gyda dewrder, ac a barha yn anghyfnewidiol hyd y diwedd.

### CYFFELYBIAETH.

(Cyfieithad.)

Fel cwch bach pan fyddo yn ysgafn-dòri
Drwy lanw y weilgi ewynawg a ffroch,
Yn hwylio yn gadarn trwy'r tònau treigliadol,
Sy'n tasgu, gan ganu eu caniad cwynfanol,
Yn erbyn ei ochrau eisenawg yn groch.

Efelly y Cristion ar fôr garw bywyd,—
Wrth nofio ei dònau trychionawg fe gân:
Ar angor Ffydd gorphwys ei lestr drylliedig,
A thònau blwng gofid, pan godant yn ffyrnig,
Fe'i siglant, ond etto ei soddi ni wnan'. (1840.)

TALIADAU O HYDREF 7 HYD HYDREF 13.—Gorllewin Morganwg, £1 13s 4c; Aberdar, 5s; Aberammar, 3s 4c; Dowlais, 10s 2c; Rymni, 18s; Georgetown, 5s 2c; Merthyr, 10s; Ffynnon-Tydfil, 5s; Cwmbach, 14s.—Cyfanswm, £5 4s.

☞ Mae genym ar werth rai Llyfrau Hymnau wedi eu rhwymo yn y modd harddaf, mewn *morocco*, gwerth 3s 6c yr un.

☞ Dymunwn hysbysu ein Dosparthwyr, mai nid arnom ni mae y bai, os nad yw y sypynau yn dyfod yn rheolaidd; bai ereill ydyw. Maent yn cychwyn o'n swyddfa ni yn brydlawn; etto ni a wnawn ein goreu i ddiwygio yr esgeuluswyr.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

### CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

Rhif. 17.] HYDREF 22, 1853. [Cyf. VI.

## Y DRYSORFA YMFUDOL BARHAUS.

[Allan o'r "Millennial Star," Hyd. 22, 1853.]

Mae yn dyfod yn fwy-fwy amlwg, braidd yn feunyddiol, fod calonau y Saint tlodion yn cael eu troi yn effeithiol at Gwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus, fel eu hunig obaith o waredigaeth o ororau Babilon. Mae y llwyddiant rhyfeddol a ddilynodd y cyflawniad o'r mesurau a fabwysiadwyd gan y cwmpeini hwnw, oddiar ei reoleiddiad, ac yn neillduol y ddwy flynedd ddiweddaf, yn yr hyn a wnaethwyd dros y Saint Prydeinig, yn achosi iddynt hwy i ymddiried yn ymddibynol ar ei allu, trwy fendith Duw, i effeithio y dyben sydd ganddo mewn golwg.

Mae yr apeliadau aml a wneir atom ni am gymhorth o'r ffynnonell hono, yn ddiau â thuedd i ennill ein cydymdeimlad mwyaf; eithr pan ddeuwn at y prawf, cawn allan y gofyna fwy nâ chydymdeimlad i effeithio ymfudiad y tlodion. Mae yn rhaid y gŵyr y Saint fod helaethder ein llafur ni yn hyn, yn ymddibynu yn benaf ar eu haelioni hwy yn ein diwallu â modd. Pwy na wnelai eu goreu i gyfranu tuag at y gwaith gogoneddus a wneir trwy offerynoldeb y Drysorfa Ymfudol Barhaus?

Gallwn hysbysu yn awr i'r Saint fod y Llywydd yn Seion wedi trefnu er gosod yn ein dwylaw ni gryn swm o arian, i gael ei defnyddio er ymfudo y tlodion o'r wlad hon, y tymmor dyfodol. Sicr ydym y pâr hyn i galonau y Saint lamu o lawenydd, am fod yr Arglwydd fel hyn yn ychwanegu y rhwyddineb i ymgasglu; a gobeithiwn y rhydd y Saint yn Mhryd-

ain y sicrwydd mwyaf haelfrydig i ni, cyn diwedd y flwyddyn, eu bod yn gwerthfawrogi y fath gynnorthwy amserol o dir Seion, trwy gyfranu eu cannoedd a'u miloedd er chwyddo y swm. Gallai hyn yn rhwydd gael ei wneuthur trwy gyd-ymdrech y lliaws a deimlant ddyddordeb yr achos.

Mae amryw o'r Cenadiaethau cyfagos yn cyfranu i'r Drysorfa hon yn awr, lle nad oes un goruchwyliwr awdurdodedig o'r Cwmpeini, i gyfarwyddo eu neillduoliadau; ac fel y gwypo pawb felly pa beth a ddysgwylir oddiwrthym ni, o barthed iddynt hwy, cyhoeddwn yma lythyr o apwyntiad, a dderbyniwyd oddiwrth Lywydd ac Ysgrifenydd Cwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus.

"Dinas y Llyn Halen Fawr, Medi 30, 1852.

"Arddengys hyn fod yr Henuriad Samuel W. Richards wedi ei benodi a'i awdurdodi i weithredu fel Goruchwyliwr Cwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus, yn Mhrydain Fawr, a'r gwledydd cyfagos, i gynnorthwyo ymfudiad y Saint tlodion i ddyffrynoedd y mynyddoedd, i dderbyn cyfraniadau i'r Drysorfa, a defnyddio y cyfryw fel y gwelo yn addas. Ac erfynir ar y Saint yn gyffredinol, y rhai a ewyllysiant lwyddo achos y gwirionedd a chario yn mlaen waith y dyddiau diweddaf, i wrandaw ar ei gynghor, fel y gorphwyso bendithion Duw arnynt hwy ac yntau, ac y llwyddo gwaith yr Arglwydd yn ei ddwylaw.

"BRIGHAM YOUNG, *Llywydd Cwmpeini y D. Y. B.*
"WILLARD RICHARDS, *Ysgrifenydd.*"

Gan hyny, cymmerwn y rhyddid i erfyn ar Lywyddion Cenadiaethau, at y rhai y mae y llythyr hwn yn gymhwysiadol, i ddanfon i ni gyfrif o'r arian sydd ganddynt ar law, yn berthynol i Gwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus, yn ddigon cynnar er i ni gynghori ynghylch eu defnyddiad yn y tymmor ymfudol nesaf. Hyderwn y teimla yr holl Saint yn mhob gwlad ddyddordeb mawr o hyd yn llwyddiant gwaith yr ymgasgliad, trwy gyfranu yn haelionus o'u heiddo er cynnorthwyo gweithrediadau y Cwmpeini.

Unrhyw swm o gyfraniadau a ddanfono Llywyddion y Cynnadleddau Prydeinig atom ni erbyn canol Rhagfyr nesaf, a gynnwysir yn y swm a ddefnyddir tuag at eu gwahanol Gynnadleddau ar ddiwedd y flwyddyn.

Wrth edrych dros y gofres o gyfraniadau a wnaed tuag at

y Drysorfa hon yn Mhrydain, gwelwn amryw gyfraniadau personol o £100 i dros £200 yr un. Dangosa hyn y dyddordeb a deimlasant dros ei lwyddiant, a rhydd esiampl teilwng i ereill ddilyn, yr hyn a gredwn a wnant, a thrwy hyny sicrhant iddynt eu hunain fendithion Duw a'i bobl.

[Dealled y Llywyddion Cymreig, fod yr hyn a ofynir uchod, o Gymru, i'w ddanfon at y Llywydd W. S. Phillips, fel y gallo efe, dros ereill, ddanfon mewn amser i Liverpool. Gwneler felly hefyd o barthed yr hyn a ymddangosodd yn yr UDGORN diweddaf.—GOL.]

---

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 230.]

DYBEN cyfreithiau ydyw i wahardd pob arferiad sydd â'i duedd i niweidio personau neu gymdeithas. Ond yn mha ystyr y niweidir personau neu gymdeithas gan yr arferiad o aml-wreigiaeth? Atebwn, nid mewn unrhyw ystyr pa bynag. Dichon i'r gwrthwynebydd ddywedyd fod tuedd y fath arferiad mewn rhai enghreifftiau i gynnyrchi tlodi, ac i ddwyn cyfyngder ar deulu, ac y dylid, am hyny, ei gydnabod yn drosedd, gan ei wahardd trwy gyfraith. Gwrth-atebwn, y fod llawer o arferion o'r fath ag a ddygant dlodi a chyfyngder, ac er hyny y cyfryw arferion ydynt berffaith gyfreithlawn. Er siampl, geill y caeth-fasgnachydd ddarostwng ei hun i dlodi, trwy bentyru caethion, a thrwy ei gamdriniaeth o honynt! A fyddai i'r Taleithiau deheuol ystyried hyn yn drosedd? A waharddent hwy trwy gyfraith i gaethion gael eu prynu, oblegid, mewn rhai enghreifftiau, i hyny ddarostwng y prynydd i dlodi, a dwyn cyfyngder arno ei hunan a'i deulu? Ac etto; dichon dyn ddwyn tlodi arno ei hunan a'i deulu trwy roddi yn annoeth ar waith crefftwyr, ysgrifenyddion, llafurwyr wrth y dydd, &c. A ystyriai un o'r Taleithiau neu'r Tiriogaethau fod hyn yn drosedd? A osodent hwy gyfreithiau i wahardd cyflogiad crefftwyr a llafurwyr, o herwydd, mewn rhai enghreifftiau, ei fod yn darostwng i dlodi? Enghraifft arall; llawer o bersonau trwy briodi un wraig a ddarostyngasant eu hunain o sefyllfa gyfoethog i dlodi dirmygus, er hyny ni fyddai i un Dalaeth, oblegid y fath reswm, ddatgan priodi un wraig megys trosedd,

a'i gwahardd trwy gyfraith. Gallem liosogi unrhyw nifer o enghreifftiau lle dygwyd tlodi a chyfyngder ar deuluoedd, trwy yr arferiad o bethau sydd berffaith gyfiawnhaol gan y gyfraith. Nid yw y dichon amledd gwragedd, mewn rhai enghreifftiau, ddarostwng teulu i dlodi, yn un rheswm, gan hyny, dros ei wahardd trwy gyfraith, mwy nâ miloedd o arferion ereill a ddichon gynnyrchu yr unrhyw ganlyniadau. Ond yn gan amlaf o achosion, caffai aml wragedd dueddrwydd gwrthwynebol; yn lle lleihau cyfoeth teulu byddai i hyny ei gynnyddu. Bydd i nifer fawr, wedi eu rhwymo yn nghyd gan gylymau cryfion serchiadau teuluol, ac yn cymmeryd gafael ar orchwyl mewn modd cyfunol, fod yn alluog, gan amlaf, i gyflawni mwy nag a ddichon i'r un faint o bersonau a weithiont ar wahan, ac yn llywodraethol gan ennill personol yn unig, ei wneyd. Caniateir gan bawb fod undeb ennill a gweithred yn rymusach ei ganlyniadau, nag anundeb. Mae teulu lliosog o blant, trwy eu hegni cyfunol, yn gymhwysach nâ theulu bychan at bentyru golud, neu at gyflawni unrhyw amcan arall. Oddiyma, y dywed y Salmydd, "Plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd. Gwyn ei fyd y gwr a lanwodd ei gawell saethau â hwynt; nis gwaradwyddir hwy, ond ymddyddanant â'r gelynion yn y porth." Salm cxxvii. Teulu eang, yn lle bod yn anfanteisiol gyda golwg ar gyfoeth neu nerth, sydd yn fantais fawr. Gan hyny, gan belled ag y meddianna yr achos hwn unrhyw ddylanwad, cyfiawnach a fyddai i'r Taleithiau wahardd y gyfundrefn unwreigiol, nag i warafun y gyfundraeth liosogol.

Cymhellir gwrthddadleuon weithiau yn erbyn y gyfundrefn liosogol, gan ddywedyd, ei bod yn cymmeryd ymaith hawliau benywod, ac, o ganlyniad, y dylid ei gwahardd trwy gyfraith. Ond pa hawliau benywod a gymmer hi ymaith. Os amryw fenywod yn wirfoddol, ac o'u dewisiad eu hunain, ac efo cydsyniad eu perthynasau, a ewyllysiant uno eu tynghed gydag un dyn, pa hawliau a gymmerir ymaith? pa ddrygau a oddefwyd, naill ai ganddynt eu hunain, neu gan gymdeithas yn gyffredinol? Atebwn, dim un o gwbl. Ar y llaw arall, y mae hawliau benywod yn cael eu dystrywio a'u cymmeryd oddiarnynt, trwy eu gwahardd â chyfraith i gael y dyn a ddewisont; gorfodir hwynt, gan osodiadau deddfroddol, i adaw pob gobaith

am briodi dyn y llëolwyd eu serchiadau arno, a rhwymir hwynt, os priodant o gwbl, i fyned yn groes i bob teimlad o'u natur—i gael eu huno gydag un nad oes ganddynt ddim cariad ato. Pa sawl miloedd o fenywod sydd a ddewisent aros yn sengl eu holl ddyddiau, yn hytrach nâ derbyn cynnygion llawer dyn ieuanc ysgeler, at yr hwn ni letyant unrhyw deimladau amgen nâ rhai o ddiflasrwydd. Pe gallai y menywod hyn gael eu hawliau, y rhai a berthyn iddynt yn naturiol, ond y bu i'n llywodraethau taleithiol anhael eu hamddifadu o honynt, hwy a unent eu tynghed gyda dynion da, a bod yn annherfynol ddedwyddach dan y gyfundraeth liosogol, nag a fyddent trwy aros mewn sefyllfa o weddwdod, neu trwy eu huno gyda rhyw ddyhirod drygionus. Rhodder i fenywod eu hawliau; gadawer iddynt briodi dyn eu dewisiad. Lle bodola serch pur, gadawer iddynt dreulio y serch hwnw yno, trwy uno eu hunain yn wirfoddol o fewn rhwymau cyssegredig priodas gyda'r dyn a garant, a'r hwn a'u câr hwythau yn ddigonol i'w gwneuthur yn gyfranogion o'i fynwes dros fywyd. Unrhyw beth yn fyr o hyn sydd anhael, ac yn dystrywio hawliau benywod.

Dywedir fod lliosogiad yn dystrywio hawliau y wraig gyntaf, ac, am hyny, na ddylid ei oddef gan gyfraith. Ymddibyna hyn ar amgylchiadau. Os bu dyn mor ynfyd â chytuno gyda dynes cyn eu priodas, na fyddai iddo ef briodi un arall tra hi yn fyw, yna, byddai tori y cytundeb hwnw, heb eu chydsyniad, yn cymmeryd ymaith ei hawliau. Ni ddylai y fath ddyn, o dan fath gytundeb, gael ei oddef gan gyfreithiau y Taleithiau i dori ei gytundeb, oblegid gan wneuthur felly y byddai iddo gymmeryd ymaith yr hawliau a warantodd efe iddi. Ond os prioda dyn ddynes heb rwymo ei hunan gyda y fath gytundeb, neu os prioda efe hi gyda y dealltwriaeth y geill ef briodi ereill, pan y meddylio yn addas wneuthur felly, yna nid oes unrhyw hawliau i'r wraig gyntaf yn cael eu cymmeryd ymaith, nag unrhyw gyfammodau yn cael eu tori. Mwynha y wraig gyntaf, dan yr amgylchiadau hyn, yr holl hawliau y meddai hi unrhyw reswm i ddysgwyl. Pan y rhoddodd ei hunan i'w gwr, nid oedd hyny trwy orfodaeth; ymfoddlonodd yn rhwydd a gwirfoddol i fod yn eiddo ef, gyda llawn ddealltwriaeth y gallasai ef briodi ereill, y pryd bynag a ddewiso. Nid ydyw dynes, dan yr amgylchiadau hyn, yn cael ei hamddifadu o unrhyw hawliau,

ond yn unig y rhai a roddodd i fyny yn wirfoddol. Hi a gyfrifodd mai gwell ei huno gyda y fath ddyn, er y dichon na chyfranai ond mesur o'i ofalwch iddi, nâ byw bywyd o weddwdod, neu fod yn rhwym o briodi un a garai yn llai. Gan hyny mae yr wrth-ddadl yn erbyn lliosogrwydd ar y tir hwn yn hollol ddi-sylfaen.

Cymhellir gwrth-ddadl arall yn erbyn lliosogrwydd, trwy ffugio ei fod yn llygru moesau cymdeithas, ac o ganlyniad, dadleuir y dylid ei ystyried yn drosedd, a'i wahardd gyda chyfraith. Ond yr ydym yn gofyn pa foesau cymdeithas a lygrir ganddo? Moesoldeb nid yw ond enw arall am rinwedd, daioni, a chyfiawnder. Anfoesoldeb yw ei wrthwyneb—hyny yw, gwyniau, drygedd, anghyfiawnder. Bod yn foesol yw bod yn ddiniwed o drosedd; bod yn anfoesol yw bod yn euog o drosedd. Nis gellir dangos oddiwrth reswm nac oddiwrth air Duw, fod lliosogrwydd yn drosedd, ac felly nis gall fod yn anfoesol, ac o ganlyniad nid yw moesau cymdeithas yn cael eu peryglu yn y modd lleiaf oddiwrth ei arferiad. Yn y gwrthwyneb, mae lliosogrwydd yn gyfaredd fawr a chref yn erbyn anfoesoldeb. Pa sawl cannoedd o filoedd y sydd o fenywod, yn ymollwng o ddiffyg cyfleusdra i briodi, gan roddi eu hunain i fyny i fywyd ysgeler, ac yn dyfod yn hynod anfoesol a dirinwedd. Pe na amddifadasid y menywod hyn o'r hawliau y dylai yr oll eu mwynhau dan ein Furf-lywodraeth ogoneddus, gallasent uno eu hunain wrth ryw ddynion da a rhinweddol, a bod yn ddedwydd megys eu hail neu eu trydydd wragedd, ac felly gael eu hachub rhag y temtasiynau a'r drygau a syrthiasant iddynt. Edrycher ar drueni a gresynoldeb miloedd o fenywod yn mraidd bob dinas yn America ac Ewrop—ymholer i'r achosion o hynt eu bywyd gwaradwyddus a throseddol, a chanfyddir mewn naw amgylchiad o ddeg, y gyrwyd hwynt i'r cyflwr hwnw o ddiraddiad o eisiau amddiffynwr—o eisieu gwr y gallasent ganoli eu serchiadau ynddo, ac ar yr hwn y gallasent ymddibynu am gynnorthwy. Ai ni fuasai yn well o lawer i'r menywod hyn eu bod wedi eu cyssylltu yn anrhydeddus mewn priodas yn unol â'r gyfundrefn liosogol, nâ'u bod wedi soddi eu hunain i lynclyn dinystr anadferol? Y fath swm aruthrol o anfoesoldeb a'i ddyoddefaint canlynedig a gawsai ei attal, pe na chawsai y llywodraethau Taleithiol eu dylanwadu

gan draddodiadau llygredig Cristionogaeth wrthgiliedig trwy wahardd lliosogrwydd, a'i gyhoeddi yn drosedd! Eithr buasai i'r drefniant hon ar bethau, nid yn unig attal menywod rhag myned yn buteiniaid cyhoeddus, ond dyrchafu rhinwedd yn mysg y gwrrywod. O achos y niferi dirfawr o fenywod anrhinweddol â pha rai y melldigir y cenedloedd, yr esgeulusa llawer o ddynion ieuainc briodi, a cheisio boddhau eu tueddiadau rhywiogaethol trwy ymgyssylltiadau anghyfreithlawn a phechadurus. Pe na fodolai puteiniaid menywaidd cyhoeddus, neu pe na chanfyddid hwy ond yn anfynych, y canlyniad naturiol a fyddai, yr elai dynion ieuainc, yn lle gadael eu hunain i buteindra, i geisio uno eu hunain mewn priodas anrhydeddus gyda chydgyfranogion eu dewisiad. Gan hyny, byddai i liosogrwydd, nid yn unig fod yn attalfa yn erbyn puteindra menywod, ond lleihau achosion neu foddion puteindra ar ran y gwrrywod.

*(I'w barhau.)*

*Cyf.* Robyn Ddu.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 258.]

69. Na fuasai ein rhieni cyntaf wedi cael marwol blant pe na chyfranogasent o'r ffrwyth gwaharddedig, sy nid yn unig yn rhesymol, eithr y mae yn eglur ddadguddiedig yn Llyfr Mormon. Dywed y prophwyd Lehi, "Pe na throseddai Adda, ni syrthiai, eithr efe a arosai yn ngardd Eden. A phob peth a grewyd a arosent yn yr un sefyllfa ag oeddynt wedi eu creu; a hwy a arosent yn dragywydd, ac heb ddiwedd. Ac ni chawsent hwythau ddim plant; am hyny hwy a arosent mewn ystad o ddiniweidrwydd, heb feddu gorfoledd, canys ni adnabuasent drueni; yn gwneuthur dim daioni, canys ni adnabuasent bechod. Ond, wele, gwnaethwyd pob peth yn ol doethineb yr hwn sydd yn gwybod pob peth. Syrthiodd Adda fel y bodolai dynion; a bodola dynion fel y gallont gael gorfoledd" (2 Lyfr Nephi, pen. 1, tud. 51). Dadguddir hefyd yr un athrawiaeth yn y cyfieithad ysbrydoledig o Lyfr Genesis. "Ac Adda a alwodd ar enw yr Arglwydd, ac Efa hefyd, ei wraig, a hwy a glywsant lais yr Arglwydd o'r ffordd a arweiniai i ardd Eden, yn llefaru wrthynt, ac ni welsant Ef, oblegid yr oeddynt wedi

eu cau allan o'i bresennoldeb. Ac efe a roddodd orchymyn iddynt i addoli yr Arglwydd eu Duw, ac offrymu y blaenffrwyth o'u deadelloedd yn offrwm i'r Arglwydd. A bu Adda yn ufydd i orchymynion yr Arglwydd.

"Ac ar ol llawer o ddyddiau ymddangosodd angel yr Arglwydd i Adda, gan ddywedyd, Paham yr wyt ti yn offrymu aberthau i'r Arglwydd? Ac Adda a ddywedodd wrtho, Nis gwn, ond fod yr Arglwydd wedi gorchymyn i mi. Ac yna yr angel a lefarodd, gan ddywedyd, Mae y peth hwn yn gyffelybiaeth i aberthiad Cyntaf Anedig y Tad, yr hwn sydd yn llawn gras a gwirionedd. Am hyny, bydded i ti wneyd pob peth a wnelych yn enw y Mab, a bydded i ti edifarhau a galw ar Dduw yn enw y Mab dros byth.

"Ac yn y dydd hwnw yr Ysbryd Glân a syrthiodd ar Adda, yr hwn a ddygodd dystiolaeth o'r Tad, a'r Mab, gan ddywedyd, Myfi yw Iesu Grist o'r dechreuad, o hyn allan, ac yn dragywydd, fel yn gymmaint ag i ti syrthio, y gellir dy waredu; ac holl ddynolryw, cynnifer ag a ewyllysiant.

"Ac yn y dydd hwnw Adda a fendithiodd Dduw, ac a lanwyd, ac a ddechreuodd brophwydo ynghylch holl deuluoedd y ddaear: Bendigedig fyddo enw Duw am fy nhrosedd, canys yn y bywyd hwn mi a gaf lawenydd, a thrachefn yn fy nghnawd mi a gaf weled Duw.

"Ac Efa, ei wraig, a glywodd y pethau hyn ac a fu lawen, gan ddywedyd, Oni bai ein trosedd, *ni chawsem byth hâd*, ac ni adwaenem byth dda a drwg, a llawenydd ein prynedigaeth, a'r bywyd tragywyddol a rydd Duw i'r holl rai ufydd. Ac Adda a Efa fendithiasant enw Duw; a hwy a wnaethant bob peth yn hysbys i'w meibion a'u merched."

70. Y prophwyd Enoc hefyd a ddadguddia yr un athrawiaeth yn ei draethawd ar bwnc yr efengyl, megys y dadguddiwyd i Adda ar ol ei yru allan o ardd Eden. "Ac Enoc a barhaodd ei leferydd, gan ddywedyd, Yr Arglwydd yr hwn a lefarodd wrthyf, yw Duw y nefoedd, ac Efe yw fy Nuw i, a'ch Duw chwithau, a chwi yw fy mrodyr, a phaham yr ymgynghorwch â'ch hunain, gan wadu Duw y nefoedd?

"Y nefoedd, efe a'i gwnaeth: y ddaear yw ei droedfainc, a'i sylfaen sydd eiddo ef: Wele, gosododd hi, a llu o ddynion a ddygodd efe ar ei gwyneb. A marwolaeth a ddaeth ar ein

tadau: er hyny, adwaenwn hwynt, ac nis gallwn wadu, ac hyd y nod y cyntaf oll a adwaenwn, sef Adda. Canys ysgrifenasom lyfr coffadwriaeth yn ein mysg, yn ol y cynllun a roddwyd gan fys Duw: a rhoddwyd ef yn ein hiaith ein hunain.

"Ac fel yr oedd Enoc yn llefaru geiriau Duw, y bobl a grynasant, ac nis gallent sefyll o flaen ei bresennoldeb: ac efe a ddywedodd wrthynt, *Trwy syrthiad Adda yr ydym ni*; a thrwy ei gwymp y daeth marwolaeth; a gwnaethwyd ni yn gyfranogwyr o drueni a gwae. Wele, Satan a ddaeth i blith plant dynion, a themtia hwynt i'w addoli; a dynion a aethant yn gnawdol, anianol, a melldigedig, a chauwyd hwynt allan o bresennoldeb Duw. Eithr Duw a wnaeth yn hysbys i'm tadau, fod yn rhaid i bob dyn edifarhau.

"Ac efe a alwodd ein tad Adda â'i lais ei hun, gan ddywedyd, Myfi wyf Dduw: mi a wnaethym y byd, a dynion cyn eu bod. Ac efe a ddywedodd wrtho hefyd, Os gwnai di droi ataf, a gwrandaw fy llef, a chredu, ac edifarhau am dy höll droseddiadau, a chael dy fedyddio â dwfr, yn enw fy Unig anedig Fab, yr hwn sydd yn llawn gras a gwirionedd, yr hwn yw Iesu Grist, yr unig enw a roddir dan y nefoedd, trwy yr hwn y daw iachawdwriaeth i blant dynion; chwi a gewch ofyn pob peth yn ei enw Ef, a pha beth bynag a ofynoch, efe a roddir i chwi.

"A'n tad Adda a lefarodd wrth yr Arglwydd, ac a ddywedodd, Paham y rhaid i ddynion edifarhau a chael eu bedyddio â dwfr? A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Adda, Wele, maddeuais i ti dy droseddiadau yn ngardd Eden. Oddiwrth hyn, yr aeth dywediad allan yn mhlith y bobl, Fod Crist wedi rhoddi iawn dros euogrwydd gwreiddiol, yn yr hyn nis gall pechodau y rhieni gael eu hateb ar benau y plant, canys y maent hwy yn rhyddion er seiliad y byd.

"A'r Arglwydd a lefarodd wrth Adda, gan ddywedyd, Yn gymmaint â bod dy blant yn cael eu hymddwyn mewn pechod, felly hefyd pan ddechreuont dyfu i fyny, y mae pechod yn esgor yn eu calonau, ac y maent yn profi y chwerw, fel y gwypont pa fodd i werthfawrogi y da. A rhoddwyd iddynt i adwaen y da oddiwrth y drwg: am hyny y maent hwy yn oruchwylwyr iddynt eu hunain, ac mi a roddais i chwi gyfraith a gorchymyn arall: Am hyny dysgwch hi i'ch plant, fod yn rhaid i bob dyn, yn mhob man, edifarhau, onide nas gallant

mewn un modd etifeddu teyrnas Dduw, oblegid nis gall dim aflan drigo yno, neu drigo yn eu bresennoldeb Ef; canys yn iaith Adda, Dyn Santeiddrwydd yw ei enw Ef; ac enw ei Unig-anedig, yw Mab y Dyn, sef Iesu Grist, Barnwr cyfiawn ag sydd i ddyfod.

"Yr wyf yn rhoddi i chwi orchymyn i ddysgu y pethau hyn yn eofn i'ch plant, gan ddywedyd, *Yn gymmaint ag iddynt gael eu geni i'r byd trwy y cwymp ag sydd yn dwyn marwolaeth, trwy Ddwfr a Gwaed a'r Ysbryd, y rhai a wnaethym, ac felly o bridd ddyfod yn enaid byw*, felly hefyd y rhaid eich geni drachefn o Ddwfr a'r Ysbryd, a'ch glanhau trwy Waed, sef Gwaed fy Unig-anedig, i ddirgeledigaethau teyrnas nefoedd; fel y santeiddier chwi oddiwrth bob pechod, ac y mwynhaoch eiriau y bywyd tragywyddol yn y byd hwn, a bywyd tragywyddol yn y byd a ddaw, ïe, gogoniant diddarfod: Canys trwy y Dwfr yr adwaenoch y gorchymyn; trwy yr Ysbryd y cyfiawnheir chwi, a thrwy y Gwaed y santeiddir chwi, mai ynoch y rhoddir tystiolaeth y nefoedd;—y Dyddanydd;—pethau heddychlawn gogoniant diddarfod; gwirionedd pob peth;—yr hyn sydd yn bywiocâu pob peth, yr hyn sydd yn rhoddi bywyd yn mhob peth;—yr hyn sydd yn gwybod pob peth, ac yn meddu pob gallu, yn unol â doethineb, trugaredd, gwirionedd, cyfiawnder, a barn.

"Ac yn awr, wele, yr wyf yn dywedyd wrthych, mai dyma gynllun yr iachawdwriaeth i bob dyn: Gwaed fy Unig-anedig, yr hwn a ddaw yn nghanol-ddydd amser. Ac wele, y mae gan bob peth ei gyffelybrwydd, ac y mae pob peth wedi ei creu a'u gwneuthur i ddwyn tystiolaeth o honof fi, pethau ag ydynt yn dymmorol, a phethau ag ydynt yn ysbrydol; pethau ag ydynt yn y nefoedd uwchben, a phethau ag ydynt ar y ddaear; a phethau ag ydynt yn y ddaear, a phethau ag ydynt o dan y ddaear, oddi uchod ac oddi isod; pob peth a ddygant dystiolaeth o honof fi.

"A bu ar ol i'r Arglwydd lefaru wrth Adda, ein tad, i Adda alw ar yr Arglwydd, ac efe a gipiwyd ymaith gan Ysbryd yr Arglwydd, ac a gariwyd i waered i'r dwfr, ac a osodwyd dan y dwfr, ac a ddygwyd allan o'r dwfr: Ac felly y bedyddiwyd ef, ac Ysbryd Duw a ddisgynodd arno: ac felly y ganwyd ef o'r Ysbryd, ac efe a fywhawyd yn y dyn tufewnol: Ac efe a glyw-

odd lais o'r nefoedd, yn dywedyd, Ti a fedyddiwyd â thân, ac â'r Ysbryd Glân. Hyn yw tystiolaeth y Tad, a'r Mab, o hyn allan ac yn dragywydd: ac yr wyt ti yn ol urdd yr Hwn ag oedd heb ddechreu dyddiau na diwedd blynyddoedd, er pob tragywyddoldeb. Wele, tydi wyt un ynof fi, ac yn fab i Dduw; ac felly y gall pawb ddyfod yn feibion i mi. Amen."*

71. Oddiwrth yr holl ddyfyniadau hyn, dysgwn, mai oni buasai syrthiad ein rhieni cyntaf, ni fuasent byth wedi cael marwol blant. Efa a ddywedodd, "*Oni buasai ein trosedd, ni chawsem byth hâd.*" Enoc a ddywedodd, "*O herwydd syrthiad Adda yr ydym ni.*" Lehi a ddywedodd, "*Syrthiodd Adda fel y bodolai dynion.*" Yr Arglwydd a ddywedodd wrth Adda:—"Yn gymmaint â bod dy blant yn cael eu hymddwyn mewn pechod, felly hefyd, pan ddechreuont dyfu i fyny, mae pechod yn esgor yn eu calonau." A drachefn, yr Arglwydd a ddywedodd yn mherthynas i'r plant rhai'n, "Ganwyd hwynt i'r byd trwy y cwymp hwn sydd yn dwyn marwolaeth, trwy Ddwfr, a Gwaed, a'r Ysbryd, y rhai a wnaethym i, ac felly o bridd ddyfod yn enaid byw." Y "Dwfr a'r Gwaed" wedi eu priodol uno, a ffurfiant gnawd ac esgyrn y baban; yr ysbryd o'r Nef, mewn uniad â'r "Dwfr a'r Gwaed," a fywiocâ y corff, ac fel hyn "o bridd y daw yn enaid byw."

72. Adda a ddywedodd, "Bendigedig fyddo enw Duw o herwydd fy nhrosedd, canys yn y bywyd hwn y caf orfoledd, ac etto yn fy nghnawd y gwelaf Dduw. Ac Efa, ei wraig, a glywodd yr holl bethau hyn, ac a fu lawen, gan ddywedyd, oni bai ein trosedd, ni chawsem byth hâd, ac ni adwaenem byth dda a drwg, a llawenydd ein prynedigaeth, a'r bywyd tragywyddol a rydd Duw i'r holl rai ufydd." Mor fawr yr achos a gafodd ein rhieni cyntaf i fendithio a chlodfori Duw, am iddo wneyd a gosod y pren gwybodaeth mewn sefyllfa ag y gallent fwyta o hono; er iddynt ddwyn arnynt eu hunain y gospedigaeth am eu hanufydd-dod, ac wedi eu gosod, gyda eu hiliogaeth, mewn sefyllfa o boen, etto yr oedd yn llawer gwell iddynt i oddef y boenedigaeth, ac hyd y nod marw, nâ bod wedi aros yn y sefyllfa ag oeddynt ynddi cyn y cwymp. Yn wir, buasai yn well iddynt fod wedi dyoddef y can cymmaint mwy nâ'r hyn a

* Dadguddiwyd i Joseph Smith, y Gweledydd, Rhag., 1830, fel rhan o'r Cyfieithad Ysbrydoledig o Lyfr Genesis.

wnaethant, nag i fod wedi aros bob amser mewn sefyllfa o ddofn anwybodaeth o dda a drwg—nâ bod dros byth mewn sefyllfa analluog i adnabod neu werthfawrogi gorfoledd neu ddedwyddwch—sefyllfa yn mha un y meddylrith am gyfiawnder a thrugaredd, nis gallasai fod wedi myned i mewn idd eu calonau. Nid bwriad yr Arglwydd oedd i ddyn aros yn y fath ddyfnderoedd o anwybodaeth. Da y gallasai Adda ac Efa fendithio Duw o herwydd eu trosedd; canys nid oedd yr holl ddyoddefiadau a oddefasant yn y canlyniad o hono, yn deilwng idd eu cymharu â'r wybodaeth anfeidrol bwysig a ennillwyd, a'r llawenydd a ddylifai trwy y wybodaeth hono. Crist oedd yn cael ei ystyried megys "Oen wedi ei ladd er seiliad y byd," i wneuthur iawn am drosedd gwreiddiol Adda. Am hyny, trwy ei droseddiad y cyrhaeddodd efe wybodaeth anhebgorol angheurheidiol er ei ddyrchafiad a'i ddedwyddwch; a thrwy yr iawn ei bechodau a faddeuwyd, ac efe a adferwyd i ffafr Duw, yn feddiannol ar gymhwysderau gofynol i fwynhau ei waredigaeth, a chyfeillach bodau y rhai a wyddent dda a drwg. "Yr Arglwydd Dduw a ddywedodd, Wele, y dyn sydd yn dyfod megys un o honom ni, i wybod da a drwg" (Gen. iii, 22). Duw, ynghyd â'r lluoedd nefol, a gyrhaeddasant idd y wybodaeth o dda a drwg, ac am hyny yr oeddynt yn alluog i fwynhau dedwyddwch, a barnu yn gyfiawn yn ol egwyddorion uniondeb a chamwedd, cyfiawnder a thrugaredd. Adda, trwy ei droseddiad, a ddaeth fel un o'r Duwiau i wybod da a drwg. Yn awr, a ellir tybied, am fynyd, nad oedd yr Arglwydd yn dymuno i Adda ddyfod yn debyg iddo ei hun? Ai ni ddymunai Efe fod iddo ddysgu pa fodd i wahaniaethu rhwng yr hyn oedd dda, a'r hyn oedd ddrwg? Neu a fwriadodd efe fod i ddyn am byth gael ei amddifadu o'r hysbysrwydd hyny, yr hyn yn unig a allasai roddi iddo orfoledd? Ai nid oedd yr Unig-anedig Fab yn ewyllysgar, hyd y nod cyn gwneyd y byd, i gael ei anfon allan ar ganol-ddydd amser, i ddyoddef a marw, mewn trefn i wneyd iawn am drosedd, pa un a osodai Adda yn yr un cyflwr a'r Duwiau gyda golwg ar dda a drwg? Ni ystyriasai y Mab fod marwolaeth yn aberth rhy fawr, mewn trefn ag y gallasai dyn gael ei gyfodi o eithaf dyfnderoedd anwybodaeth, a chael ei leoli ar sefyllfa gyfartal â'r Duwiau, mor bell ag y golygai dda a drwg, a'u holl gydfynedol ganlyniadau.

73. Mae yn wir, pe na chynnygiasai y Gwaredwr i farw er gwneuthur iawn dros bechod Adda, yna ni fuasai un ffordd o faddeuant; a chyfiawnder a drosglwyddai Adda i drueni ac alltudiaeth diddiwedd o bresennoldeb ei Dad, heb unrhyw obeithion am adgyfodiad ei gorff, neu waredigaeth ei ysbryd oddiwrth allu y Diafol: yna, pe na ddyfeisiasai Duw gynllun o waredigaeth, buasai yn well i Adda i beidio syrthio; buasai yn well iddo aros mewn dygn anwybodaeth o dda a drwg, dedwyddwch a thrueni, nâ bod yn druenus am byth, yn gyffelyb i'r angylion syrthiedig. Ond gan i Dduw ddyfeisio cynllun o waredigaeth, yr oedd yn llawer iawn gwell i Adda i droseddu, a dyoddef cospedigaethau ei droseddiad am dymmor, nag i aros mewn sefyllfa yn yr hon nis gallasai byth adnabod da a drwg, yn gyffelyb i'r Duwiau—yn yr hon nis gallasai byth werthfawrogi dedwyddwch y nef, neu wybod am lawenydd bywyd tragywyddol—yn yr hon nis gallasai ddeall natur cyfiawnder a thrueni, uniondeb a chamwedd—yn yr hon nis gallasid byth ymddiried iddo awdurdod, neu allu, neu reolaeth dros fodau pa rai oeddynt mewn meddiant o'r wybodaeth oruchel hon—yn yr hon ni chawsai byth blant, ac am hyny, y teulu mawr o ysbrydion yn y nef, a fuasent wedi cael eu siomi yn eu dysgwyliadau pryderus hiraethlawn o gael derbyn cyrff. Am hyny, dyrchafaf i fyny fy nghalon mewn moliant a diolchgarwch o flaen yr Arglwydd; ïe, bendithiaf Dduw â'm holl enaid, am droseddu o'n rhieni cyntaf, a dwyn poen a thrueni, a marwolaeth, ar y byd; canys, o herwydd y troseddiad hwn y caniatawyd i'm hysbryd i ddyfod o'r nef, a myned i mewn i babell o gnawd ac esgyrn—o herwydd y troseddiad hwn, y caniateir i ni wybod, yn y bywyd hwn, dda a drwg, llawenydd a thrueni, cyfiawnder a thrugaredd, cariad a chasineb—o herwydd y troseddiad hwn, dysgwyf trwy brofiad bethau pa rai na ddysgaswn byth yn un ffordd arall—o herwydd y troseddiad hwn, yr adnabyddaf ac y gwerthfawrogaf orfoledd fy ngwaredigaeth; y mwynhawyf eiriau y bywyd tragywyddol, yn y byd hwn, a chyflawnder bywyd tragywyddol yn y byd a ddaw.

74. Yr oedd pren arall yn ngardd Eden, ffrwyth pa un a feddai ansoddau o natur wrthwynebol idd yr un o bren gwybodaeth. Gelwid ef "Pren y Bywyd." Y pren hwn a addaswyd

i gynnyrchu bywyd diddiwedd; cyfnewidiai farwoldeb i anfarwoldeb, fel y gellir gweled oddiwrth yr ymadroddion canlynol:—"A'r Arglwydd Dduw a ddywedodd, Wele, y dyn sydd yn dyfod megys un o honom ni, i wybod da a drwg; ac weithian, rhag iddo estyn ei law, a chymmeryd hefyd o bren y bywyd, a bwyta, a byw yn dragywydd: am hyny, yr Arglwydd Dduw a'i hanfonodd ef allan o ardd Eden, i lafurio y ddaear, yr hon y cymmerasid ef o honi. Felly Efe a yrodd allan y dyn; ac Efe a osododd, o'r tu dwyrain i ardd Eden, y cerubiaid, a chleddyf tanllyd ysgwydedig, i gadw ffordd pren y bywyd" (Gen. iii, 22—24). Pe caniateid i'n rhieni cyntaf, ar ol iddynt droseddu, a dyfod yn ddarostyngedig i farwolaeth, i fwyta o hwnw, y canlyniadau a fuasent o'r natur mwyaf arswydus, a hwy a ddinystriasid am byth. Y weithred a wnelsai nid yn unig ffuantu dyn, ond gwnelsai ffuantu Duw, ei air Ef a fuasai yn ddirym, canys dedryd marwolaeth a basiwyd eisoes, a dywedwyd wrthynt y buasent "feirw yn ddiau." Ffrwyth Pren y Bywyd a achosai iddynt fyw yn dragywyddol, a gair Duw a ballai: nid felly yn unig, ond hwy a fuasent fyw am byth mewn trueni; canys cynllun iachawdwriaeth yr hwn oedd i gael ei ddwyn oddiamgylch trwy dywalltiad gwaed, neu trwy farwolaeth y Gwaredwr, a ddiddymasid. Pe gosodasai Adda ei hun mewn cyflwr fel nas gallasai farw, ei blant hefyd a osodasid yn yr un cyflwr; (hyny yw, a chaniatâu ei fod yn bosibl iddo ef genedlu plant o gnawd ac esgyrn o dan y cyfryw amgylchiadau;) yna, y Messiah yn ol y cnawd, nis gallasai farw: yn gymmaint ag y buasai yr holl blant yn anfarwol, ei gorff cnawdol Ef hefyd a fuasai yn anfarwol, ac heb waed; fel hyn nis gallasai fod un iawn trwy dywalltiad gwaed. Am hyny, dyn a arosasai yn ei sefyllfa syrthiedig am byth, gan fod yn ddarostyngedig i'r Diafol yr hwn a'i gorchfygasai, gan fod yn farw yn ysbrydol, heb unrhyw bosiblrwydd neu obeithion am wellhad, gan fod yn dragywyddol druenus yn gyffelyb idd yr angylion syrthiedig. Mae yn ammheus iawn, pa un a fuasai idd ein rhieni cyntaf, pe cyfranogasent o bren y bywyd, ar ol y cwymp, i gael plant o gnawd ac esgyrn; canys gwaed, yr hwn sydd yn hanfodol i drefniant cyrff cnawdol, a ddiwreiddasid o'u cyfansoddiadau. Am hyny, yr Arglwydd, yn gwybod y canlyniadau drwg a ddilynent os y cyfranogent o Bren

y Bywyd, a warchaeodd y cyfryw yn ofalus gan gerubiaid a chleddyf tanllyd.

*(I'w barhau.)*

*Llanelli.* *Cyf.* D. E. JONES.

---

## CYFFELYBIAETH.

AETH bachgenyn bychan i'r maes un diwrnod, a gwelodd ddefaid ac ŵyn bychain, y rhai a dynodd ei serch yn fawr; ond yr oedd arno drueni drostynt o herwydd fod draenen yno yn cydio yn eu gwlan; a dychwelodd adref gan benderfynu tori y ddraenen i lawr. Dranoeth, aeth allan â'i fwyell yn ei law, ac at y ddraenen yn union; ond ar frigyn o honi, gwelodd aderyn teg ei liw yn tynu gwlan ymaith, ac yn ehedeg ag ef i'w nyth. Pryd hyn, gwelodd ddoethineb y Creawdwr yn gosod y ddraenen i ddal gwlan y defaid, er i'r adar bach adeiladu eu nythod, ac o ganlyniad gadawodd hi yn llonydd.

Y mae llawer yn eglwys Crist, yn gweled gwahanol bethau yn niweidiol, fel y gwelodd y bachgenyn y ddraenen, tra y maent hefyd yn ateb rhyw ddyben da neu gilydd. Dymunant ar un amser i bethau fod yn yr eglwys yn hollol groes i'r modd ag y maent; ond ar bryd arall, gorfoleddant eu bod fel ag y maent, fel y dyn a ddywedodd y dylai y pwmpiynau dyfu ar dderw cryf, a mes ar goesau gweinion pwmpiynau: ond un diwrnod aeth i gysgu dan dderwen; a syrthiodd mesen ar ei ben, pan y diolchodd yn fawr i'w Greawdwr nad oedd pwmpiynau, ond mes, yn tyfu ar dderw. Y mae hyn yn ein dysgu i beidio barnu pethau Duw trwy ein doethineb fach ein hunain, ac i gredu fod pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw. W. LEWIS.

---

## BEDD-ARGRAFF.

MEDDIANNA'R bedd hyawdledd da,
  Addysga yn ei wersi,
Yn fwy effeithiol nag y gall
  Duwinydd call bregethu;
Clywch beth mae'n ddweyd, O ddynion ffol,
  Sy'n byw'n annuwiol hollol;
Mae yn llefaru wrthych chwi,
  Rhowch glust i'w gri'n ystyriol. (1842).

## AMRYWIAETHAU, &c.

Glo.—Hysbysir trwy lythyr oddiwrth Elias Morris, o Swydd Haiarn, Tiriogaeth Utah, at ei frawd Richard Morris o Ferthyr, ddarfod i'r brodyr Eliezer Edwards a Thomas Rowlands, wrth fyned i un o'r *kanyons*, ddarganfod gwythïen o lo yn wyth troedfedd o led, a bod ffordd dda o wyth milltir tuag ati wedi ei gorphen.

Dosparthu Traethodau.—Yn awr, tra mae y tymmor i bregethu allan wedi terfynu (fel y sylwa y Llywydd Samuel W. Richards, yn y "Star," Hyd. 29, 1853), yw yr amser goreu i ddosparthu traethodau, gan fyned o dŷ i dŷ, a defnyddio pob cyfleusdra i ymddyddan ynghylch y grefydd ddwyfol a broffeswn. Gobeithiwn y cymmera ein brodyr a'n chwiorydd yr awgrym, ac y dosparthant lawer o draethodau yn y tymmor hwn, gan ystyried nas gwyddant pa awr y cant wahoddiad i adael y Babilon hon, a chychwyn i Seion. Wrth fyned yno, ni fydd dim yn fwy hyfryd i'n meddwl, nâ'n bod wedi gwneyd ein dyledswydd tuag at ein cyd-ddynion.

Mae gweddiau er dychweliad Lloegr at Babyddiaeth wedi cael eu hargraffu mewn amryw ieithoedd ar y cyfandir, a'u dosparthu yn mhlith y bobl.

Prawf o natur dda fyddai deffroi dyn ganol nos, a cheisio benthyg punt ganddo.

Cadw Cyfrinach.—Aeth gwr mewn brys mawr at ei gymmydog, ac a ddadguddiodd iddo gyfrinach o bwys, ac wrth ym adael a'i gorchymynodd yn gaeth i beidio a'i fynegu i neb ar y ddaear.—A'r cymmydog a atebodd, "Byddwch yn esmwyth, gellwch ymddibynu arnaf y cadwaf ef *gystal â chwithau.*

---

Taliadau o Hydref 14 hyd Hydref 20.—Sir Fynwy, £5; Sir Ddinbych, £1; Pontytypridd, 16s; Llanfabon, 6s 8c; Hirwaen, 4s 6c; Georgetown, 5s 1c.—Cyfanswm, £7 12s 3c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 18.] HYDREF 29, 1853. [CYF. VI.

## AT BARCHEDIGION Y BEDYDDWYR ETTO.

*Eu cyhuddiadau yn erbyn* DEWI ELFED JONES *a'i gynnulleidfa, yn cael eu hegluro.*

MYGEDAWG FRAWD DAVIS,—Yn gymmaint ag i mi amrai weithiau yn ostyngedig i wahodd y Parchedigion, ac wedi y cyfan wrthod o honynt, gan gywilydd, gyhoeddi y cyhuddiadau yn herwydd pa rai y torais fy nghyssylltiad â'r Bedyddwyr. Yn bresennol, gwnaf hyny fy hunan, a chant hwythau lygadrythu, a chwyrnu, oblegid mae eu gwrych heb ostwng byth, er i mi fod yn deg, ac yn deg iawn wrthynt hefyd, yn ddirgel a chyhoedd, ar eiriau a thrwy lythyrau, a hyny gyda phob dymuniad da; o herwydd tosturiwyf wrthynt yn eu sefyllfa druenus. Teimlwyf yn ddwys dros rai o honynt, ag ydynt yn barod wedi credu, ond fod yr elw a'r gyflog yn attalfa iddynt i ymuno â'r Saint; ereill ag anrhydedd bydol a hunan-glod yn rhwystr iddynt. Gresyn fod dynion fel hyn, yn gymmaint *cowards*, fel yr ofnant sefyll o du y gwirionedd. Ha wyr, frodyr, a Chymry, trechwch rwystrau, a deuwch i Eglwys Iesu Grist, gan ymddiried yn Nuw y Saint, a chewch ryddid a nerth, fel y byddoch lawen a hyfryd o dan bob amgylchiad; yr wyf fi yn gwybod hyny, a dymuniad genyf am eich cael i feddiant o fywyd tragywyddol. Ereill o honynt a wrthryfelant â'r gwirionedd, gan ymgyndynu yn gildyn afrosgo, mal pe y mynent er pob peth, draws-wyro barn a chyfiawnder, a sathru y gwirionedd dan draed yn sarn, yn hollol ddiystyr o fod Duw y Saint yn

penderfynu "rhoddi dïal ar y sawl nid adwaenant Ef, ac nid ydynt yn ufyddhau i Efengyl ein Harglwydd Iesu Grist." Dyna, ysywaeth, gyflwr cannoedd o honynt y dydd heddyw. O, na adawent eu ffyrdd, a dychwelyd at yr Arglwydd.

Paham na wna dyn gyfiawnder â dyn? Paham mae dynïon, eu pregethwyr hefyd, yn sathru y diniwed o dan draed? Paham y carant gynllwyno er trallodi a difa yr hwn a gâr wneyd cyfiawnder yn y porth, ac amddiffyn gwirionedd yn yr heol? Paham na chyhoeddasid gweithrediadau Cwrdd Trimisol Aberdâr gynt? Ai am fygydu llygaid y rhai ni wyddent yn amgen oeddid? Ai dallu dynion yn hyfal i'w tad a fynent, rhag i'r gwirionedd lewyrchu iddynt, a throi a dychwelyd o honynt, a byw? Ai ofni yr oeddynt y byddai trwy hyny i obaith eu helw ballu? eu marsiandiaeth ddarfod? a'u gogoniant edwino mewn gwarth a chywilydd? Gwn am rai o honynt eu bod yn rhy foneddigaidd i wadu hyn, ac i fod ereill yn rhy lawn o chwyddiant hunan-dyb coegfalch, i ddeall ystyr y gair *shallow*, ac y gellir yn briodol dywedyd am lawer o honynt yn ngeiriau y bardd Seisnig,—

"Thy shallow centre to thy utmost skin."

Fel yna y mae pethau yn bod, dyweder a fyner; gwir ydyw, ys dywed y Bardd Gwyn,—

"A wado hyn aed a hi,
A gwaded i'r haul godi."

Bellach, ca UDGORN SEION roddi dolef trwy Gymru benbaladr, o'r hanes cyn fyred ag y medrwyf, o'r amgylchiadau achlysurol o lyfeliad y Tri-mis Arfod, neu mewn geiriau ereill, *Conference* Cyndaredd Parchedigion Bedyddwyr Morganwg.

Tua dechreu y fl. 1850, yr oeddwn yn prysuro yn mlaen gydag adeiladu ein capel, sef Capel Gwawr, Aberamman, ger Aberdâr, a hyny trwy lawer o rwystrau, hyd y nod oddiwrth fy nghyd-barchedigion. Yr athrawiaeth a bregethwn a'i blinai hwynt yn barhaus. Etto mewn cyssylltiad â'r gynnulleidfa, aethym yn mlaen trwyddynt oll, a chredem fod Duw o'n plaid, fel na safai unrhyw rwystrau yn ein ffordd, mwy nag y saif mwlwg neu ûs yn mlaen corwynt. Teithiais nos a dydd, trwy Gwent a Morganwg, a chesglais yn gyffredinol, gyda'r crefyddol, a'r anghrefyddol hefyd, a phob enwad yn ddiwahaniaeth,

trwy bentref a thref, a gwlad a gorwlad, at dalu y ddyled. Ymdrechais gydag ereill o'r pregethwyr cynnorthwyol, a'r aelodau (amrai o'r cyfryw ydynt yn awr yn Saint), â'n holl egni, nes oeddwn weithiau braidd yn rhy flinedig i sefyll, eistedd, gorwedd, na chysgu, hyd y nod ar wely mân-blu. Dengys fy nydd-lyfr yn helaethach am hyn. Yn mhen tua wyth mis, neu lai, talasom, o draul adeiladu, £340, heblaw talu am y *deeds*. Yr holl gyfrifon ydynt ar gael heddyw. Derbyniais amrai lythyrau o wahanol leoedd yn y Deau a'r Gogledd, yn addaw cynnorthwy i mi, os y talwn ymweliad â hwynt a phregethu iddynt. Anfonid am danaf yn aml yn awr, gan wahanol eglwysi, pell ac agos, i fedyddio ac arddodi dwylaw, o herwydd credent na dderbyniwyd hwynt yn rheolaidd i mewn i'r eglwys heb hyny: hyn yw cred ac arferiad cannoedd o'r Bedyddwyr y dydd hwn. Y ddwy Athrofa ydynt yn groes iddo, a llawer o'r Peirch. a'i hymarferant o raid, yn unig er mwyn y gyflog!! adwaenaf hwynt yn dda ddigon; ereill a'i hwtiant ymaith gydag atgasrwydd. Aelodau rhai o honynt a ymunasant gyda ni yn Capel Gwawr, er mwyn cael arddodiad dwylaw; ni chysgent yn esmwyth heb gael hyny. Ffyrnigai hyn y Parchedigion yn greulawn. Gwelais o bymtheg i ugain ar yr un amser, rai prydiau, yn dyfod yn bwrpasol i mi osod dwylaw arnynt, a thystient yn fynych eu bod yn fwy rhydd eu cydwybodau ar ol hyny. O herwydd hyn, y Parchedigion a gynddeiriogent, gan wylltu, a rhedeg wedi nos at eu gilydd, a thyna lle y byddent hwy, a'r diaconiaid, ac ereill, yn cynllunio y ffordd oreu i roddi attalfa ar y cyfryw beth; cânai y ceiliog yn fynych cyn y gwasgarent; brwnt yw adrodd y pethau a wneir ganddynt hwy yn y dirgel. Mân *Gommitees* a gynnelid yma a thraw yn ddirgel; y Parchedigion oeddynt mewn ysfa lem, a'i barchedigaeth o Aberdâr yn *bowdwr* gwyllt, ac yn hanner gwallgof. A'r Saint hwythau yn gwenu dan eu hetiau wrth weled hyn, gan ddywedyd, "*Poor fellows*, trueni am y pethau bach, yn y tywyllwch y maent, ac feallai y bydd hyn yn achlysur i'r onest-galon ddyfod allan o'u mysg ar fyrder."

Anfonid *delegates* neu yspïwyr yn awr yn ddirgel, i wrandaw a chraffu pa beth a lefarwn ac a bregethwn; gosodid cynllwynion i mi, gan geisio fy ngwneyd "yn droseddwr er mwyn gair." Difyrus yn fynych oedd eu gweled yn gwrandaw; eu llygaid

a syllent yn naill ochrog, gyda hanner tro eu cernau, a'r wefus isaf yn crebachu am yr uchaf, ac weithiau fel y ceiliog ag un ochr ei ben i fyny yn tremio hynt y barcut, ac euogrwydd yn peri iddynt fod yn amlwg i bawb. Wmredd o weithiau y gwelais hyn. Ni fedr y dynion hyn edrych yn llygaid dyn, ond mor isel rhywle tua chymmydogaeth y galon, a hyny, ysgatfydd, o herwydd eu tuedd i dywallt gwaed. Dynion cas yw y rhai hyn; gwareder pob dyn da rhagddynt. Dywedai y brawd David Rees wrthyf weithiau, "Frawd Jones, beth pe byddech i roi tamaid i'r yspîwyr hono (nos Sul), i gael codi tipyn o waith ar y *boys* 'na draw." "O'r goreu," meddwn i, "mae fy llygad arnynt er ys meityn; hwy a gant damaid a fydd yn lles, gan nad pa ddefnydd wnant o hono; rhoddaf iddynt damaid, o'r *gweision cyflog* a'r *praidd, derbyn wynebau dynion er mwyn budd*, ac *anghyssonderau pregethwrawl*, &c. Yna wedi y celent damaid iawn, dyna lle byddent yn traflyngcu, gwargrymu, ac edrych tua'r drws; ac wedi i mi brin orphen pregethu, rhedent allan ar hanner llindagu, â nerth coesau at eu parchedigion, a'i daflu allan iddynt, gan waeddi, "Cyfeiliornad, cyfeiliornad, o'r fath waethaf." A dyna lle byddai panu arnaf, a'm difriaw yn waeth nâ'r "croen-du,"—llythyrau yn myned allan yma a thraw, a phob un yn ffurfio ei gynllun er rhoddi taw arnaf. Ac medd ambell i un, "Gwnewch frys, frodyr anwyl, i wneyd rhywbeth i'r dyn bach Aberamman yna,—mae yn tynu yr holl wlad ar ddisperod,—gwna ddrwg mawr i ni,—mae yn dwlu y dynion ffordd y cerddo; gellwch fentro eich bywyd, taw diwedd y dyn yna a'i gynnulleidfa fydd myned yn Saint; mae llawer o'r hen Saint yn ei wrandaw bob Sul, a wyddis yn y byd beth fydd canlyniadau pethau yn y pen draw; a gafaelwch os gellwch yn ei Dŷ Cwrdd, trueni fydd iddo fyned â hwnw a phob peth yn Saint."

Y pryd hwn hefyd, llawer o'm cynnulleidfa fy hun, ynghyd ag amryw yn yr eglwysi cymmydogaethol, a'm cymhellent yn ddystaw idd eu bedyddio yr ail waith, am na chredent i'r sawl a'u bedyddient gynt, o herwydd fod y cyfryw yn erbyn "bedyddio er maddeuant pechodau, ac arddodiad dwylaw," megys yr arferid genyf fi. Bu rhai personau hefyd yn disgyn oddiar eu ceffylau, ar y ffordd wrth deithio, ac yn dymuno arnaf osod dwylaw arnynt, rhag os gwelent, i'w gweinidogion eu tori allan.

Llawer o'r eglwysi yr amser hyn, oeddynt ar eu gogwydd i ufyddhau i'r gwirionedd, a chael eu bedyddio yr ail waith er maddeuant pechodau. Ni foddiai un athrawiaeth wahanol mo honynt. Pan welodd y Parchedigion hyn, digient yn aruthrol; ysgrifenu cyfrolau fyddent yn rhy fach i ddangos eu gelyniaeth echryslawn, eu llid, a'u bradwriaeth, eu dichellion arswydus, eu celwyddau maleis-ddrwg, ynghyd â'r drygau mawrion a wnaethant i mi yn mhob dull a modd. O! fel y'm trybaeddid yr amser hwn; prin y gallaf edrych a darllen, yn fy nydd-lyfr, yr hyn a ddyoddefais, a minnau y pryd hwnw heb fod yn eglwys Duw y Saint. Diolch am gyflwr yn yr hwn y derbyniaf nerth dan bob erlidigaeth. Dyfeisiasant gynllun yn awr, er gosod *stop* ar y dylanwad, a chael gwared o honof fi o'r lle i ryw fan yn ddigon pell. A'r llwybr a gymmerasant at hyn oedd, galw Cyfarfod Tri-misol yn Aberdâr; felly y gwnaethant, a daeth y rhan amlaf o weinidogion a phregethwyr Morganwg, a rhai o Barchedigion Mynwy hefyd, i'r cyfarfod. Ystyrient hwn yn un o'r cyfarfodydd mwyaf dyddorol, yn gymmaint â'u bod (meddent hwy) yn dyfod allan dros, ac yn enw eu Duw yn erbyn cyfeiliornadau y wlad, ynghyd â heresiau gwenwynig Jones Aberamman a'i Gynnulleidfa. Anfonasant genad atom y nos o'r blaen, i ymofyn am danom i Gynnadledd y Parchedigion a Chenadau yr Eglwysi, dranoeth am ddeg o'r gloch. Hysbysodd y genad ni hefyd, fod amrafaelion yn eu plith o achos yr athrawiaeth a bregethwn, a bod eisieu penderfynu rhyw bethau ag oedd allan o le rhwng y ddwy Gynnulleidfa. Ysgrifenais lythyryn atynt yn ddioed, yn hysbysu y byddem yn y *Conference*, a chawsant y llythyr yn mhen tua hanner awr ar ol i mi ei ysgrifenu. Eisteddodd y Senhadrim Barchedigaidd, a bwriwyd golwg dros y llythyr, a'r hen Barchedig Duwinyddol o Hengoed, yn eu plith, yn safon y ffydd. Cyffrodd y tipyn llythyr hwynt yn arw iawn, am ei fod yn cynnwys *nad oedd a fynent hwy i ymyraeth dim â ein hawliau eglwysig ni.*"* Beient hefyd am fy mod yn ysgrifenu yn rhy debyg i ryw apostol. Wele yn canlyn gynnwysiad y llythyr, eilun o ba un sydd o fy mlaen.

* Mae gan bob eglwys hawl ynddi ei hun i farnu drosti ei hun am ei hamgylchiadau a'i dyscyblaeth, yn unol â rheol Cyffes Ffydd y Bedyddwyr, ac nid oes gan un gweinidog hawl i eistedd mewn barn am athrawiaeth un arall.

EGLWYS IESU GRIST YN ABERAMMAN, AT EGLWYS Y BEDYDDWYR, YN ABERDAR.

Aberamman, Aberdâr, Tachwedd 5, 1850.

Mygedawg Frodyr,—Mae yn flin genym glywed fod neb yn eich plith yn peri blinder i chwi, megys y dangoswyd i ni am danoch, gan yr hwn a anfonasoch atom i adrodd eich helynt, sef fod cynhenau yn eich plith. Diolchwn i Dduw na wyddom ni ddim am y fath beth, yn ein plith ni yn yr eglwys hon sydd yn Nghapel Gwawr, Aberamman. A Duw yr heddwch a'n cadwo yn undeb yr Ysbryd, a chwlwm y tangnefedd, hyd ddydd Crist. Gwybyddwch gan hyny yn ddiogel, nad oes yn yr eglwys hon, ar hyn o bryd, ddim ag y sydd yn galw arnom i geisio cymhorth unrhyw eglwys, gweinidog, na gweinidogion, i drefnu na phenderfynu drosom un dim a'r na allwn yn rhwydd ei gyflawni ein hunain, a gobeithiwn taw felly y parhâ. A'n gweddi ar ein Tad drosoch, sydd er rhyddhad i chwi o bob amrafaelion, ac y gochelwch gyndyn ddadleu dynion llygredig eu meddwl, ac amryson ynghylch geiriau, yr hyn nid yw fuddiol i ddim, ond i ddadymchwelyd y gwrandawyr, a magu amrysonau. Pa gymhorth bynag a allwn ei wneyd i chwi, er symud eich trallod presennol, mewn Cynnadledd, neu ryw arfod arall, yr ydym bob amser i eich cynnorthwyo. A'n cynghor i chwi y waith hon, yw, ar garthu o honoch allan yr hen lefain, fel y byddoch does newydd. A'r Arglwydd a'ch gwaredo rhag pob gweithred ddrwg, ac a'ch cadwo i'w deyrnas nefol: i'r hwn y byddo y gogoniant yn oes oesoedd. Amen.

Arwyddwyd dros yr Eglwys, yn Nghapel Gwawr, Aberamman, â'm llaw i fy hun.

DEWI ELFED JONES.

Wedi bwrw eu barn ar y llythyr, penderfynasant, cyn rhoddi hun i'w llygaid, fod iddynt ysgrifenu yr hyn a alwent yn gyfeiliornadau o'r eiddof fi, a galwasant yr yspïwyr yn ddirgel, yn dystion o honynt; ac felly, wedi iddynt osod pob peth yn drefnus, ar len o bapyr, i'w gosod yn mlaen dranoeth, yn gyhuddiadau yn fy erbyn; ac os y byddai i mi gyfaddef un o'r gosodiadau cyhuddiadawl, fod i mi a'm Cynnulleidfa i gael ein bwrw allan, heb gymmaint â chaniatad i mi lefaru *un gair* i amddiffyn fy egwyddorion! o herwydd fod fy athrawiaeth yn difa fel cancr. Hefyd, nad oedd dim i gael ei gyhoeddi i glyw gwlad, ond yn unig fod y cyssylltiad rhyngom i gael ei dori, yr hyn a wnaed yn y "Bedyddiwr" am Hydref, 1850.

Ar ddydd Mercher, Hydref 6fed, 1850, y cynnaliwyd y cyf-

arfod byth-gofadwy hwn. Aethym i ac amryw o'r aelodau i'r cyfarfod; ac yn fuan wedi i ni fyned yno, deallais i fod cynllun bradwrus, a dichellgar, wedi ei wneyd yn ein herbyn, ac yn ysgrifenedig ar ddarn o bapyr o flaen y cadeirydd, tuag ugain neu ragor o bethau (tri-ar-ddeg, meddent hwy), yn gyhuddiadau yn fy erbyn. Gomeddwyd y papyr i mi i'w *gopio*, er i mi daer ddymuno ei gael. Bellach, wele yn canlyn res o'r cyhuddiadau yn ngwyneb "haul a llygad goleuni" Dywedyd a phregethu y pynciau a ganlyn:—

1. Gwadu y Beibl.

2. Croesi pum pwnc Llythyr y Gymmanfa, a dywedyd y dylai gael ei losgi.

3. Bedyddio er *maddeuant pechodau.*

4. Gosod *pwys* ar arddodiad dwylaw.

5. Pregethu na ellir derbyn yr Ysbryd Glân heb fedyddio.

6. Dyfod trwy fedydd yn eni o ddwfr.

7. Pregethu ar byneiau rhy ddyrys, a'u dysgu i ereill trwy ymddyddan â hwynt am danynt, mewn cyfeillachau dirgel.

8. Athrawiaeth y mil-flwyddiant, ac adferiad pob peth i'w drefn gyntefig.

9. Teyrnasiad personol Crist ar y ddaear.

10. Galw fy hunan yn apostol.

11. Barnu pregethau y Gweinidogion yn gyfeiliornus.

12. Tuedd yn fy mhregethau i ddwyn, a throi yr eglwysi yn Saint.

13. Nas gall tri Pherson yn y Duwdod fod yn un Person.

14. Mae trwy arddodiad dwylaw y mae derbyn yr Ysbryd Glân.

15. Lle mae Ysbryd Duw, fod yno allu i wneyd gwyrthiau.

16. Nad yw y Testament Newydd yn ddigon i achub dyn i fywyd tragywyddol.

17. Fod Duw yn tywallt bendithion, a rhoddi dadguddiadau o'r nef fel yn y dyddiau gynt.

18. Mae budr elw oedd mewn golwg gan y Gweinidogion wrth bregethu, a'u bod yn hollol amddifad o Ysbryd a gallu Duw.

Yr uchodion, ynghyd â llawer o bethau ereill, nad wyf yn gofio yn bresennol, oeddynt y cyhuddiadau a ddygent i'm herbyn. Eisteddais yn dawel yn eu mysg tra y darllenid ac y llefarid llawer o honynt. Yna cyfodais a gofynais am y papyr,

i gael ysgrifenu eilun o hono, a gwrthodasant yn frawychus, gan ei guddio yn ofalus ar y bwrdd, o dan het un o'r Parchedigion, gan law y Parchedig o Hirwaen. *All right*, ebe fi; clywais lawer o honynt o'r blaen, ac ond odid na ddeuaf i wybod yr hyn oedd ar y papyr etto yn fuan; ond yr wyf yn cofio y rhan fwyaf o honynt. Gofynasant i mi os oeddwn yn cyfaddef rhai o honynt. Atebais fy mod yn cyfaddef y rhan fwyaf, ond nid yr oll o honynt. "Dyna ddigon," medd un o honynt, "mae dim ond cyfaddef un yn ddigon i'ch condemnio." Aeth yn fwstwr mawr a bach erbyn hyn, a gofynais ganiatâd i amddiffyn fy egwyddorion. A dyna y cadeirydd, D. Jones, Caerdyf, yn ei eistedd, a'i ddwylaw yn eu hyd uwch y bwrdd, a'i wyneb bach fel y pared gwyn, ac â'i lais plentynaidd yn dywedyd, "A'ttaliwch y dyn i siarad, attaliwch y dyn i siarad un gair!!!!" Dywedais wrtho yn garuaidd iawn, fod hyny yn lles iddo ef, a hwythau, o herwydd y gwyddwn eu bod oll yn analluog i wrthbrofi fy egwyddorion. Yn y fan, aeth rhyw ysfa grynedig trwyddynt oll. Gwyddai y cadeirydd yn dda ddigon, nad oedd ynddo nerth na deall idd eu gwrthsefyll. Y Parchedig o Aberdâr, ychydig amser cyn hyn, a ddywedasai wrthyf yn bersonol, y buasai yn well ganddo fod dan ewinedd y diawl, nâ'r eiddof fi; amlyga hynyna fod ganddo olwg fawr ar ei dad, cyn yr ymddiriedasai gymmaint i drugaredd ei balfau. *Wel done.* Pan welsant fy mod ar fedr amddiffyn fy hun, bodd neu anfodd, gwaeddasant ag un lef ddigofus, "Allan ag ef, allan ag ef," gan estyn dwylaw at fy wyneb, er fy ngwthio allan. Yn y dadwrdd hwn, gofynais am un awr i siarad â'r Parchedig o Hengoed, am mai efe oedd yr hynaf yno; a gwrthodasant hyny i mi, ac i bawb o'r swyddogion ag oedd gyda mi yn y cyfarfod!! do, gwrthodasant i mi *un* hanner awr, er fod genyf berffaith hawl i hyn, fel rhyw Barchedig arall. Ac, ebe B. E., Hirwaen, "Mae diwrnod cyfan yn rhy fach i chwi siarad, ar ol y dechreuwch." Ac ebe fe drachefn, gyda gwên ddigofus, "Mae ef wedi bod yn beio Jones, Caerdyf, fel Ysgrifenydd Cymmanfa Morganwg, am ei ledchwithdod yn nghofres y Bedyddwyr Cynnorthwyol, ar Lythyr y Gymmanfa. Bu hefyd yn beio un o'r pregethau goreu a wnaethym i erioed, o'r hyn leiaf ystyriaf fi hi yn bregeth fach dwt iawn: pregethais hi yn Merthyr, mewn ewrdd mawr yn y Tabernacl; hefyd yn Aberdâr, wrth neillduo

diaconiaid, ac yn Nghymmanfa y Llwyni: gwyddoch am y testun, '*Trowch eich wynebau,*' *&c.* Mynai efe i mi ddywedyd pa le i droi y wyneb, pa fodd, ac at bwy, a llawer o ryw ddwli fel yna." "Dyna fel y mae ef," medd y Parchedig o Aberdâr, "mae ef wedi dwli y bechgyn sydd gyda fi, fel y mynant i mi hollti y blewyn yn bedwar, cyn eu boddio; ac i gwrdd Jones Aberamman y mynant fyned o hyd: cellwair â phethau mawr yw peth fel hyn." "Ië," meddai y Parchedig o Ddowlais, "corffolodd Eglwys yn Troedyrhiw, ger Merthyr, acw, pan oedd gweinidogion yn nes atynt, a allasent wneyd hyny gystal â chwithau, Jones, ond y dodi dwylaw yna, a'r cyffelyb." Dwrn ei fraich ddeau, oedd y pryd hyn yn estynedig at fy llygad aswy. "Do, yn siwr, welwch chwi," ebe y Parchedig o Seion, Merthyr, "mae arnaf gywilydd i feddwl am arddodiad dwylaw;" pan ar yr un amser yn gorfod ei arfer yn ei eglwys ei hun. "Dyna hi," ebe y Parch. o Aberdâr drachefn, "mae ef wedi hollti eglwys y Cwmbach yn ddwy, gyda'i athrawiaeth a'i arddodiad dwylaw." "Wel, frodyr," ebe y Parchedig o Drefforest, "gan fod y brawd Richards o Bontytypridd yn gla' iawn yn ei wely, dymunodd arnaf i hysbysu i chwi, ei fod yn crefu arnoch i wneyd rhywbeth mewn perthynas i'r *dyn* o Aberamman a'i gynnulleidfa, on'd do, Meistar Jenkins?"* "Do siwr," ebe hwnw. "Anwyl frodyr," ebe Jenkins, y Duwinydd o Hengoed, "mae yn dda genyf weled cymmaint o sêl ynoch dros yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb; ac yr wyf yn diolch i fod bechgyn, a dynion ieuainc mor wrol ar y maes heddyw, yn erbyn cyfeiliornadau yr oes; parhewch yn wrol dros y gwirionedd, ac na adewch i ddim cyfeiliornadau, ac athrawiaethau afiachus, lusgo yn ddirgel i mewn i'ch heglwysi. Mae yn hyfrydwch genyf i weled dynion mor dda yn cyfodi, yn ein lle ni yr hen weinidogion, y rhai ydym bron dropo i'r byd mawr." Ar hyn, dyna y lle yn un llais taranllyd yn mhlith y Parchedigion (y lleill oll yn ddystaw fel y bedd), gan waeddi "Allan ag ef, a diaeloder ef a'i gynnulleidfa; mynwn wared o'r cyfeiliornwr," &c. Crefodd D. Richards, Josuah Evans, John Johns, ac ereill, am ganiatâd i amddiffyn, a chawsant orchymyn i dewi ar frys, neu fyned allan!! Ac yn groes i reolau y Gymmanfa, cynnygiasant fy ysgymuno, gan

* Masgnachwr o Bontytypridd.

roddi gwaharddiad pendant i bleidleisio trwy godi deheulaw o'm tu!!! Yr holl amser yma yr oeddwn yn sefyll, yn syllu ar olwg genfigenus, greulawn, a llidiog y Parchedigion: credwn y sugnent fy ngwaed pe gallent; rhedodd fy meddwl i lys yr archoffeiriaid. Ymddiriedais yn Nuw; ystyriais yn ddystaw taw dig wrthyf oeddynt, o herwydd fy mod yn pregethu y gwirionedd: teimlais fy hunan yn chwyddo gan awydd llefaru drosto. Edrychwn arnynt oll gyda thosturi, a'm calon yn dymuno eu dedwyddwch. Ond, eu creulondeb ataf oedd fawr; yn eu canol cyfodais fy llaw yn dystiolaeth o fy ymadawiad â hwynt; a dywedais, O ddynion drygionus a throfaus, na ddeled fy enaid i eich cyfeillach byth byth. Yr hyn a bregethais, a lŷn wrthych, fel na ddeuwch yn rhydd oddiwrtho tra byddoch byw; a phregethaf hyd y nod o flaen drysau eich tai, ac ni pheidiaf bregethu y gwirionedd pe gorfyddai i mi farw o herwydd hyny. Ar hyn o eiriau, teimlais fy hun yn gawraidd fy ysbryd, fy meddwl yn dawel, fy nghalon yn llawen, a deigryn neu ddau o dosturi ar godi yn fy llygaid. Yn mhen eiliad, dyna hi yn waeddi mawr, "Teflwch ef allan, ewch i ymofyn *police* i'w daflu allan;" "maes ag ef," "maes â hwynt;" a rhyw swn ocheneidiau cwynfanus yn arllwys o geudod y lleill, yn dywedyd, "O ïe, allan ag ef." Ac wedi ymaflyd o honof yn fy het, yr hon oedd ar y bwrdd o dan y pwlpud, dywedais, Wele, wele, ni feddyliais erioed o'r blaen fod gwirionedd o'm genau mor gadarn, a fy mod wedi peri cymmaint o ddychryn i'r fath nifer liosog o Barchedigion y boliau gorddiog a rhodresgar. "Allan ag ef, allan ag ef," meddent hwythau; ac ar fy mynediad allan, dywedais, A oes "croeshoelier ef, croeshoelier ef" hefyd. Da i mi, mai nid amser Mary waedlyd, nac Elizabeth waedlyd ychwaith, ydyw yn bresennol. Dyoddefodd fy ngwell ganwaith, waeth triniaeth fil o weithiau. *I am well pleased.* Ac wedi i mi a'r lleill o'm brodyr fyned allan, siriolasom ein gilydd, ac aethom o olwg y cynghor yn llawen, am ein cyfrif yn deilwng o gael ein herlid o achos y gwirionedd. Cannoedd a edrychent arnom, rhai drosom, a rhai yn ein herbyn.—Dyna i chwi, frawd Davis, ynghyd â phawb a ddarllenant yr UDGORN, dipyn o ddechreu hanes fy helynt â'r Bedyddwyr, yn mhlith pa rai y bum yn gweinidogaethu am flynyddau, ac yn eu cyfundeb am wyth-ar-hugain o flynyddau, a hyny yn ddi-

dor o'm mebyd. Teimlais fwy o ryddid y dydd crybwylledig, nag a deimlais o'r blaen yn fy holl fywyd. Yr oedd yn *rhith* debygoli idd y rhyddid gorfoleddus a deimlais wedi hyny, ar y dydd dedwydd a gwynfydedig yr ymunais â Saint y Dyddiau Diweddaf.

Nos y Tri-mis Arfod yn Aberdâr, pregethais yn Capel Gwawr, Aberamman, oddiwrth Esaiah xxix, 13—16. Cyfansoddais yr emyn canlynol, a chanasom ef yn orfoleddus.

"Dan orthrymder mawr y gelyn,
Rhedaf ar flinderus daith;
Câd ar faes sydd yn fy nghanlyn,
Mewn galanas—hyllaf waith:
Erchyll floedd plant y drygioni,
Sydd yn groch am drais a brad,
O fy Nuw, bydd gymhorth imi,
Bydd yn darian im', O Dad.

"Trwy dy nerth, ar fin y cleddyf
Chwarddaf yn ddibryder mwy;
Af trwy'r fflamiau â Thi genyf,
Heriaf saeth, a chledd, a chlwy';
Nerth a gallu anorchfygol
Yw pwerau Ysbryd Duw,
Dan ei nawdd mi safa'n wrol
Dros y gwir tra byddwyf byw."

*Llanelli.* DEWI ELFED.

O. Y. Ca yr hanes o'r Creulonderau a ddangoswyd tuag ataf, o'r amser hyn hyd lawer o fisoedd wedi fy ymuniad â'r Saint, ymddangos mewn rhifyn dyfodol, os gellwch hebgor lle iddo.

---

## Y SAINT A'R INDIAID.

MR. GOL.,—Deallaf fod y newyddion a gaed drwy y "Star" yn ddiweddar, o barthed i ymosodiadau yr Indiaid cymmydogaethol ar y Saint yn Nhiriogaeth Utah, yn tueddu i ddychrynu rhai pobl rhag canlyniadau a ddychymmygant, ac nid yw cyhoeddiadau ereill yn lleihau dim ar echryslonrwydd y meddylddrych. O'm rhan i, dywedaf, nad wyf yn canfod rhyw achos neillduol i'r Saint, yma nac yno, ofni rhyw storom fawr o'r fan yna; canys ni ddichon fod namyn "*splash in a wash hand basin,*" mewn cystadledd i storom ar y Môr Werydd.

Mae y Saint yn y Dyffryn yn lliosocach o lawer nag

yw yr Indiaid sydd yn eu haflonyddu, yn llawer parotach i ryfel, medrus a dewrach, a braidd yn mhob sefydliad y mae ganddynt gaerau cedyrn wedi eu gwneuthur, lle nid all eu gelynion eu cyrhaedd hyd nes y ceid llu o filwyr o'r Ddinas.

Mae rhai yn dychymmygu y llwydda yr *Utahs* i gael cynnorthwy gan ryw lwythau cymmydogaethol, ac felly yr alltudiant y Saint o'r wlad. Mewn atebiad i hyna, dywedaf, mai hollol groes oedd pob argoelion ar a welais i tra yn eu plith; ac y mae un llwyth cymmydogaethol, yr *agosaf* oll, o'r enw "Showshawnees," pa rai ydynt lawer lliosocach nâ'r *Utahs*, o herwydd hen elyniaeth, yn fwy awyddus i'w dinystrio nâ'u cynnorthwyo. Gwn, trwy brofiad, mai y Llywydd Young sydd wedi bod yn cadw y "ffon heddwch" rhwng y ddwy blaid; a diau, pe caniataiai efe, na fyddai y blaenaf ond ychydig amser, yn difodi y cythryblwyr o'r byd hwn. Mae yr *Utahs* yn deall hyn, maent yn teimlo felly eu hunain. Cefais gryn waith un tro, pan anfonwyd fi i ymofyn Walker a'i gedyrn i wyneb y lleill i gymmodi, i symud yr ofnau hyny. O dan yr amgylchiadau hyn, ynte, nid yw y "Saint yn Utah yn nwylaw anwariaid yn ddiamddiffyn;" eithr y mae Duw, a digon o ddynion da o'u plaid, er hyll floedd yr holl fleiddiaid.

D. JONES.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 275.]

75. MEGYS ag yr oedd plant Adda wedi eu hymddwyn mewn pechod, a'u geni i'r byd trwy y cwymp, daethant yn ddarostyngedig i'r un gospedigaeth a roddwyd ar Adda, mal y dywedodd yr apostol Paul, "Trwy ddyn y daeth pechod i'r byd, a marwolaeth trwy bechod" (Rhuf. v, 12). Hefyd, mewn man arall, y dywed, "O herwydd gan mai trwy ddyn y daeth marwolaeth, trwy ddyn hefyd y daeth adgyfodiad y meirw. O herwydd yn Adda mae pawb yn meirw, felly hefyd yn Nghrist y bywheir pawb" (1 Cor. xv, 22). Yr ymadroddion rhai'n a brofant yn eglur fod trosedd Adda wedi dwyn marwolaeth ar ei holl hiliogaeth. A oedd yn gyfiawn fod i holl blant Adda oddef marwolaeth o herwydd ei drosedd ef? Neu a ddaeth

marwolaeth ar y plant, nid o herwydd fod cyfiawnder yn gofyn hyny, ond fel canlyniad naturiol yn dilyn trosedd Adda, yr hwn nis gellid ei ochelyd? Trueni a gwae a rwymir yn fynych ar hiliogaeth trwy ddrygioni y rhieni. Clefydau a dynir trwy ymarweddiad afreolus y rhieni, a ddeuant yn etifeddiaethol, ac a drosglwyddir i'r plant dros lawer o genedlaethau. Yn awr, y rhieni, y rhai, trwy eu pechodau, a ddygasant arnynt eu hunain drueni, a gresynoldeb, a oddefant gospedigaeth eu gweithredoedd eu hunain, fel achos o gyfiawnder; buont yn anrhinweddol a phechasant, cyfiawnder a'u cospa hwynt â chlefydau poenus, a ffinionllyd: y doluriau rhai'n a etifeddir gan y plant; goddefant yn y corff yn gyfartal idd eu rhieni. Nid oes un a ffuanta ddywedyd, fod cyfiawnder yn gofyn i'r plant ddyoddef; fod yr achwyniadau cyffrous rhai'n yn gyflawn etifeddiaethol; ni feddylia un dyn, am un fynyd, nas gallai cyfiawnder fawrhau ac ymarferyd ei hawlau, oddieithr fod y plant wedi eu cystuddio am bechod eu rhieni. Pawb a ddywedent ar unwaith, fod dyoddefiadau y plant wedi eu gosod yn anghyfiawn, fel canlyniad o drosedd y rhieni; canlyniad hefyd, yr hwn nas gellid yn dda ei ochelyd. Felly yr un modd, y daeth pechod i ein byd ni trwy droseddiad ein rhieni; a hwy yn gyfiawn a ddyoddefasant yr adfyd hwnw; ond marwolaeth a ddaeth yn etifeddiaethol. Adda a drosglwyddodd farwolaeth i'w hiliogaeth, nid o herwydd unrhyw bechod a gyflawnasant hwy, ond fel canlyniad o'i bechod ei hun. Adda oedd cyfrwng eu dyoddefiad o farwolaeth yn anghyfiawn, fel canlyniad genedig-gyfreithlawn o'i bechod ei hun. Cyfiawnder, gan hyny, nid yw yn gofyn y dylai un o olynyddion Adda farw, o herwydd ei bechod ef. Cyfiawnder a ofynai fod Adda yn unig i gael marw. Ond mae hiliogaeth Adda yn dyoddef marwolaeth, nid o herwydd fod cyfiawnder yn gofyn hyny, ond o herwydd fod marwolaeth yn etifeddiaethol, ac yn dilyn fel canlyniad naturiol o'r syrthiad, yn yr un dull ag y mae rhyw glefydau yn anghyfiawn etifeddol gan blant, fel canlyniad naturiol o benrhyddid eu rhieni.

76. Nid yn unig yr oedd Adda i dderbyn marwolaeth dymmorol, neu ymddattodiad corff ac ysbryd, ond efe a ddaeth yn farw yn ysbrydol; efe a alltudiwyd o ardd Eden, ac oddiwrth bresennoldeb yr Arglwydd: efe a ddaeth yn ddarostyngedig i

ewyllys y Diafol, gan yr hwn y gorchfygwyd ef; yr oedd yn farw i bob peth perthynol i gyfiawnder a dedwyddwch; un weithred o'i eiddo nis gallai byth roi iawn am ei bechod; nis gallai un cynllun a ddyfeisiai byth ei alluogi ef i adennill ei hun o'i sefyllfa golledig a syrthiedig; nis gallai un ddyfais a ffurfiai ail-reoleiddio ei gorff o'r pridd, a'i ddwyn i fyny o'r bedd. I bridd y rhaid i'w gorff ddychwelyd, yno, am ddim a wyddai, i gysgu yr hun o farwolaeth dragywyddol. Nid oedd sŵn gwaredigaeth ar y cyntaf wedi swnio yn ei glustiau; dim newyddion i ennill pelydr o obaith o fewn ei fynwes: tywyllwch anobaith a eisteddai yn oerllyd ar ei ael, tra yr ymagorai y dyfodiad diddiwedd ei ddorau dychrynllyd i'w olwg ddiobaith. Angeu a eisteddai yn orseddedig yn ei babell farwol—a'r ysbryd raid ei ysgaru oddiwrth ei orchudd daearol, a'i rwymo mewn cadwynau tragywyddol o dywyllwch, o dan lywodraeth yr angylion syrthiedig. Y farwolaeth a ddaeth ar Adda, ynte, oedd tragywyddol farwolaeth corff ac ysbryd—y corff i falurio yn llwch i beidio cyfodi mwy—a'r ysbryd i fyw mewn tywyllwch a thrueni diddiwedd. Hyn oedd y gospedigaeth, pan ei hysbysir yn ysgaredig ac ar wahan oddiwrth yr iawn.

Ond nid yw hyn yr oll. Marwolaeth dymmorol ac ysbrydol a etifeddwyd gan ei holl ddisgynyddion. A phe na threfnasai Duw gynllun o waredigaeth, buasai holl ddynolryw yn druenus am byth, o herwydd y canlyniadau rhwymedig wrthynt gan bechod eu rhieni cyntaf; eu trueni a'u gresynoldeb a fuasai mor fawr â phe buasent hwy eu hunain wedi cyflawni pechod. Eu hysbrydoedd, er bod yn bur a diniwed, cyn iddynt ddyfod i gorff, a ddaethant yn halogedig wrth gymmeryd pabellau syrthiedig; nid yn halogedig gan eu pechodau eu hunain, ond trwy eu cyssylltiad â chorff wedi ei ddwyn i'r byd trwy y cwymp, daearol, syrthiedig, anmherffaith, a llygredig yn ei natur. Ysbryd, wedi myned i mewn i'r fath babell, er na chyflawnai unrhyw bechod personol, sydd yn anaddas i ddychwelyd drachefn i bresennoldeb Bod santaidd, oddieithr fod iawn wedi ei gwneyd; yna, heb iawn, yr holl fabanod a fuasent yn dragywyddol golledig, o herwydd canlyniadau naturiol pechod Adda. Mae yn wir, na ofynai cyfiawnder fod i unrhyw ysbryd ddyoddef o herwydd pechodau ei rieni, ond y rhieni cyntaf a

ddygasant y farwolaeth dragywyddol hon ar gorff ac ysbryd eu hiliogaeth yn anghyfiawn, fel drwg naturiol yn deilliaw oddiwrth y cwymp, yr hyn ni allai fod fel arall. Hwynthwy a'i dyoddefasant, nid fel cospedigaeth am bechod Adda, ond fel mae baban yn dyoddef clefyd a feddiannodd trwy ymarweddiad anrhinweddol ei hynafiaid. Pe tybiasid, modd bynag, fod yr ysbrydion, gan eu bod yn ddiniwed, wedi eu gwahardd i adael eu trigfan, a dyfod i lawr a myned i mewn i babellau syrthiedig, o dan y gospedigaeth o farwolaeth ysbrydol; a phe tybiasid hefyd, fod yr ysbrydion rhai'n, gan eu bod yn oruchwylwyr, wedi wedi dyfod mewn troseddiad o'r gyfraith, yna natur yr ymresymiadau blaenorol a fuasent, mewn rhyw fesur wedi cyfnewid, a phob un a ddyoddefasai, oni buasai yr iawn, farwolaeth ysbrydol dragywyddol, fel canlyniad o'i anufydd-dod ei hun i'r gorchymyn i beidio myned i mewn i babell syrthiedig. Ond gan nad oes un hanes fod y fath gyfraith wedi ei sefydlu, ac wedi ei bwriadu fel rhybydd i ysbrydion, nad halogent eu hunain trwy fyned i mewn i gorff syrthiedig; gan hyny, rhaid penderfynu, fod dyoddefiadau a marwolaeth ysbryd a chorff yn ddrygau etifeddiaethol, wedi eu rhwymo yn anghyfiawn arnom ni trwy ein rhieni cyntaf. Y dyoddefiadau etifeddiaethol hyn a roddant i ni wybodaeth o ddrwg, yr un modd ag y rhoddodd cyfranogiad o'r ffrwyth gwaharddedig wybodaeth i Adda o'r un egwyddor. Y dyoddefaint etifeddiaethol rhai'n hefyd a roddant i ni wybodaeth am gyfiawnder, yn yr un dull a modd ag y dysgodd Adda am natur cyfiawnder, trwy ddyoddef am ei droseddiadau ei hun. Adda a achosodd idd ei hiliogaeth gyfranogi o'r chwerw yn *anghyfiawn*, ac heb eu caniatad a'u goruchwyliaeth, ac fel hyn hwy a ddysgant beth yw natur trueni; tra y bu iddo ef ei hun ddysgu beth oedd natur y chwerw neu drueni yn gyfiawn, fel cospedigiaeth am ei bechod ei hunan.

*(I'w barhau.)*

*Llanelli.* *Cyf.* D. E. JONES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

UN mis yn ysgol cystudd a ddysga fwy nâ holl orchymynion addysgiadol Aristotle mewn saith mlynedd; canys nis gall neb ffurfio barn gywir am achosion dynol, oni fydd wedi dyoddef ergydion a chanfod twyll y byd.

Gweddiwch yn fynych, o herwydd yr ydych yn pechu yn wastadol; edifarhewch yn fuan, rhag i chwi farw yn ddisymmwth; yr hwn sydd yn edifarhau o ddiffyg gallu i weithredu, nid yw yn edifarhau am bechod hyd onid ymwrthodo ag ef; a'r hwn sydd yn colli ei allu i gyflawni ei bechod, nid yw yn gadael pechod, eithr pechod sydd yn ei adael ef.

Boddlondeb yw y cyfoeth mwyaf gwirioneddol; a chybydddod yw y tlodi mwyaf. Nid yr hwn sydd berchen ar lawer yw y cyfoethog, eithr yr hwn sydd ganddo ddigon. Yr hwn sydd yn chwennych rhagor sydd yn dlawd; canys nid oes calon ganddo i fwynhau yr hyn sydd yn ei feddiant.

Y dyn da ac haelfrydig sydd ddedwydd ynddo ei hunan, yn anymddibynol ar dynghedfen; mae yn garedig i'w gyfaill, yn gymmedrol i'w elyn, yn grefyddol gyfiawn. yn ddiflin yn ei lafurwaith, a chyflawna bob dyledswydd yn gydwybodol a chyda dyfal-barhad.

PA BETH YW GOBAITH?

Pa beth yw Gobaith? Hyn a wn,
Mai bywyd hebddo fyddai'n bwn:
Fy nghwch diogel yw o hyd
I'm cynnal uwchlaw tònau'r byd.
Hwn yw y dysgwyl ynwyf sy
Am gael mwynhau pleserau lu;
A'r dyn nad felly'n dysgwyl sydd,
Ei fywyd ef yn faich a fydd. (1842.)

---

Taliadau o Hydref 21 hyd Hydref 27.—Sir Fynwy, 1s 8¼c; Llanelli, £5; Sir Fôn, 2s 6c (gan W. S.), a 10s (gan J. W.); Pontfaen, 2s 2c; Caerdyf, 17s; Aberamman, 5s; Hirwaen, 2s 1c; Georgetown, 5s 1c; Troedyrhiw, 4s.—Cyfanswm, £7 9s 6¼c.

Cymmanfaoedd y Gogledd.—Cynnelir Cymmanfa Sir Fflint, ar y 13eg o Dachwedd; Sir Ddinbych, ar y 20fed; Dyffryn Conwy, ar y 27ain; Sir Fôn, ar y 4ydd o Ragfyr; Sir Feirionydd, ar yr 11eg.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis*, *Printer*, *Georgetown*, *Merthyr-Tydfil*.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 19.] TACHWEDD 5, 1853. [CYF. VI.

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 291.]

77. YN yr ymadrodd blaenorol, profasom yr effeithiau alaethus deilliedig o gamwedd Adda, wrth eu hystyried yn ddi-gyfeiriad at yr iawn; oddiwrth ba un y canfyddir, yn gyntaf, fod pechod Adda wedi ei osod ef a'i hiliogaeth o dan gaethiwed a gallu y Diafol, yn yr hyn y daeth holl ddynolryw yn ysbrydol feirw yn dragywydd; gan fod wedi meirw oddiwrth yr hyn sydd dda, hwy a ddaethant yn ddarostyngedig i ewyllys y Diafol, ac fel hyn y daethant yn dragywyddol golledig. Yn ail, fod pechod Adda wedi cau holl ddynolryw allan o bresennoldeb Duw, nid i ddychwelyd mwy. Yn drydydd, fod pechod Adda wedi dwyn marwolaeth i'r byd, hyd y nod farwolaeth y corff, neu mewn geiriau ereill, tragywyddol ysgariaeth corff ac ysbryd, y corff i ddychwelyd i bridd i beidio cyfodi mwy, a'r ysbryd i aros mewn cadwynau tywyllwch i beidio bod yn ddedwydd mwy. Y canlyniadau ofnadwy rhai'n a ddeilliasant oddiwrth y syrthiad. Oddiwrth y canlyniadau rhai'n nis gallai dyn wared ei hunan; yr oedd wedi ei ogylch amgylchynu gan gadwynau o dragywyddol dywyllwch, ac nis gallai eu dryllio yn wahanedig; collodd bob gallu, ac yr oedd mewn dygnedd anobeithiol. Ond yn ddisymmwth, llais o'r uchelder a dreiddiodd ddyfnderoedd o dragywyddol nos, â pha un yr oedd efe wedi ei amgylchynu; nid llais afrywiog ellyllon maleisus, yn erchyll ysgyrnygu ar eu hysglyfaeth caethiwus ydoedd: ond

llais trugaredd pa un a dorai yn gynghaneddol ar y glust; llais tosturi ydoedd, pa un a wnelai yn bwyllog sibrwd heddwch i'r enaid trallodus; llais gobaith ydoedd—llais cariad—llais un yn dwyn newyddion da o lawenydd mawr—llais Tad tosturiol, yn cyhoeddi Gwaredigaeth trwy ei Unig-anedig Fab. Trallod a ehedodd ymaith—gobaith a flagurai i'r làn yn y galon—gorfoledd a ysgafnhäai y wynebpryd—a dyn trwy ffydd a edrychai arno ei hun yn waredigawl trwy farwolaeth ac aberth y Cyntaf-anedig; yn waredigol oddiwrth y farwolaeth ysbrydol ddiderfyn hono yr hon a rwymwyd trwy y cwymp; ei gorff yn waredigol o gwsg tragywyddol yn y bedd; ei ysbryd yn waredigol oddiwrth warogaeth dragywyddol i allu y Diafol. Efe a welodd, trwy ffydd, y corff wedi ei adferyd o'r llwch—yr ysbryd wedi ei adferyd i'r corff—marwoldeb wedi ei adferyd i anfarwoldeb—a dyn wedi ei adferyd i bresennoldeb ei Dad. Yn llyn gwelwn, taw "yn Adda mae pawb yn meirw" yn dymmorol, ysbrydol, a thragywyddol; ac mai "yn Nghrist y bywheir pawb," yn dymmorol, ysbrydol, a thragywyddol, mor bell, o leiaf, ag mae y pechod gwreiddiol yn perthyn.

78. Crist yw bywyd a goleuni y byd. Heb ei iawn Ef, ni fuasai bywyd na goleuni wedi ein cyrhaedd ni; dim ond tywyllwch tragywyddol, a marwolaeth, a thrueni a fuasent wedi teyrnasu. Megys ag y daeth yr holl drueni hyn trwy weithredoedd anghyfiawn o eiddo un dyn, felly hefyd yr holl waredigaeth, a goleuni, a bywyd, a adferwyd i'r byd, a ddaethant trwy un Bod yr hwn oedd megys "Oen wedi ei ladd er seiliad y byd." Megys nad oedd gan blant Adda un oruchwyliaeth yn ngwneuthuriad y pechod gwreiddiol, felly hefyd maent wedi eu gwaredu yn ddiammodol a chyffredinol oddiwrth effeithiau y pechod hwnw, pe amgen ni fuasai diwedd byth ar yr effeithiau hyny. Gwaredigaeth oddiwrth y trosedd gwreiddiol oedd trwy Grist, hyny yw, trwy rydd râd yn unig heb weithredoedd; nid oedd gweithredoedd yn ofynol ar ddyn mewn trefn y gallasai rhydd râd ddyfod yn effeithiol yn ei adennilliad oddiwrth effeithiau pechod ei rieni cyntaf. Ni ofynir ar un o hiliogaeth Adda, i edifarhau, neu gredu, neu i gael eu bedyddio, na gwneyd unrhyw beth arall, fel ammod o waredigaeth oddiwrth y pechod hwnw; pob ammodau ar ran dyn, ydynt yn hollol annerbyniol. Yr iawn yn unig, heb weithred-

oedd, a osododd holl ddynolryw yn eu sefyllfa fabanaidd, yn fyw yn Nghrist: oddiyma mae y drygioni mawr o fedyddio plant bychain, oblegid maent hwy eisoes yn rhyddion oddiwrth bechod Adda, o herwydd Crist. Bedydd a sefydlwyd fel un o'r ammodau trwy ba rai mae maddeuant o'n pechodau personol ein hunain, yn cael ei gâniatâu, o herwydd yr iawn; ond nid yw yr iawn yn gofyn bedydd, nac unrhyw ammod arall, mewn trefn i faddeu y pechod gwreiddiol, neu ein gwaredu ni oddiwrth hyny. Yr oedd y pechod gwreiddiol wedi ei faddeu yn agos er ys chwech mil o flynyddoedd yn ol, neu yn fuan ar ol ei gyflawni; Adda oedd yr un yr hwn a gyflawnodd y pechod, ac Adda oedd yr un yr hwn a gyrhaeddodd faddeuant o'r unrhyw; disgynyddion Adda ydynt wedi eu blino trwy y pechod hwnw, ond nid yn euog o'i gyflawni; gan hyny, nid oes anghen arnynt am faddeuant, na ffydd, nac edifeirwch, na bedydd er maddeuant am y pechod hwnw: yna mae yn watwariaeth ofnadwy gerbron Duw i fedyddio plant bychain; a Duw ni ddieuoga rieni y rhai a oddefant y peth ffiaidd hwn i gael ei arferyd yn eu teuluoedd, a'r Arglwydd Dduw a gospa y dynion hyny, y rhai a arferant y drygioni mawr hwn yn ei enw; o herwydd a dderbynia yr Arglwydd ar ein dwylaw ni yr hyn na orchymynodd efe? Ac a oddef efe i ni fyned yn ddigosp, os y defnyddiwn ei enw ef yn ofer, ac arferu ffieidd-dra yn ei enw ef? Am hyny, dywedwn wrth bawb o'r fath, bydded i'r holl arferiadau hyn beidio oddi gerbron yr Arglwydd, rhag iddo eich taro chwi â gwialen ei enau, a thrwy ei lid, a threngu o honoch allan o'r ddaear, ac hefyd oddiwrth ei bresennoldeb.

79. Dyn, wedi dysgu da a drwg trwy y cwymp, a chan gael iawn wedi ei pharotoi trwy ba un y daeth yn ei sefyllfa fabanaidd yn ddiniwed gerbron Duw, a osodwyd mewn cyflwr yn yr hwn y gallai weithredu drosto ei hun, naill ai da neu ddrwg, a phrawf a roddwyd iddo. Yn awr, ni welodd yr Arglwydd yn addas i waredu dyn oddiwrth effeithiau y syrthiad yn uniongyrchol; gan hyny, yr amser blaenorol i farwolaeth, a ddaeth yn sefyllfa brawfedigol, neu sefyllfa prawf: rhoddwyd cyfreithiau i'w lywodraethu, cyfaddas i natur a gradd ei wybodaeth: gorchymynwyd iddo i wneyd da ac nid drwg: cospedigaethau a gyssylltiwyd â'r cyfreithiau a roddwyd iddo. Holl ddynolryw, fel maent yn tyfu i fyny o fabandod i flynydd-

oedd o gyfrifoldeb, ydynt yn troseddu y cyfreithiau hyn, ac yn darostwng eu hunain i gospedigaeth y cyfryw, yr hyn yw ail farwolaeth. Ni roddir yr ail farwolaeth hon hyd oni fyddo holl ddynolryw wedi eu gwaredu oddiwrth y farwolaeth gyntaf, a'u hadferyd yn eu sefyllfa anfarwol i bresennoldeb eu Barnwr, i'w barnu gan y gyfraith ddadguddiedig, yn ol eu gweithredoedd, pa un a fyddont ai da ai drwg. Oni bai fod Crist wedi dyoddef dros y pechodau a gyflawnwyd gan hiliogaeth Adda, yn gystadl â thros y pechod gwreiddiol, nis gellid cadw un cnawd a bechai; oblegid mae pechod yn ymddwyn yn nghalonau pawb fel maent yn tyfu fyny i wybod da a drwg. Gan hyny, pe na chyrhaeddasai yr iawn yn mhellach nâ'r pechod gwreiddiol, pob enaid a bechai yn erbyn yr ail gyfraith a fyddai farw yn yr ail farwolaeth ysbrydol: efe drachefn a osodasid mewn cyflwr diobaith; efe drachefn a drengai oddiwrth yr hyn sydd dda, a dyfod yn druenus, gorff ac ysbryd, yn dragywydd: mae yn wir, na ddychwelai ei gorff yr ail waith i'r pridd, ond efe a gelai ei alltudio yr ail waith oddiwrth bresennoldeb ei Farnwr, lle byddai gorff ac ysbryd yn druenus yn dragywyddol; lle na allai un pelydr o obaith byth dori ar ei feddwl. Y fath o anghenrhaid fuasai y canlyniadau, os y pechod gwreiddiol oedd yr unig bechod y rhoddwyd iawn am dano: o dan yr amgylchiadau rhai'n, nis gellid cadw neb ond babanod, a'r rhai hyny pa rai a fuont feirw heb wybodaeth ddigonol i bechu. Y lleill oll a fyddent yn golledig anadferadwy.

80. Ond Crist a fu farw, nid yn unig i waredu dynolryw oddiwrth y pechod gwreiddiol, ond i'w gwaredu hwynt oddiwrth gospedigaeth eu pechodau personol eu hunain, nid yn anammodol, ond yn ammodol. Er i Grist ddyoddef yn gorff ac ysbryd, boenau yr holl deulu dynol i roddi iawn am yr oll o'u pechodau, etto nis gallai yr iawn yma effeithio arnynt hwy, oddieithr iddynt gredu ynddo Ef, edifarhau am eu pechodau, a'u trochi mewn dwfr yn enw yr Arglwydd Iesu, er maddeuant pechodau, a'u cadarnhau trwy arddodiad dwylaw er derbyniad o'r Ysbryd Glân, a pharhau yn ffyddlawn hyd y diwedd; ar y cyfryw ni chaiff yr ail farwolaeth un awdurdod. Ond y rhai ni edifarhant, a'r rhai a wrthodant gynllun yr iachawdwriaeth, a raid ddyoddef cospedigaeth y gyfraith hyd y nod yn ol y gorchymyn pa un a wnaethwyd gan Dduw. Y cyfryw a gospir â

dinystr tragywyddol oddiwrth bresennoldeb yr Arglwydd, ac oddiwrth ogoniant ei nerth. Ond gan y gwobrwya ac y cospa Duw bawb dynion yn ol eu gweithredoedd, pa un ai da ai drwg, yna fe fydd gwahanol raddau o ddedwyddwch a gogoniant, i ateb dybenion yr iawn, a gwahanol raddau o gosp a thrueni, i ateb dybenion cyfiawnder. Ac fel hyn mawrygir cariad, a thrugaredd, a chyfiawnder Duw o flaen yr holl lu nefol, a cherbron pob dyn.

81. Gwaredigaeth oddiwrth y pechod gwreiddiol sydd yn gyffredinol ac yn anammodol; gwaredigaeth oddiwrth ein pechodau personol sydd yn ammodol. Y gyntaf a ddygir oddiamgylch trwy rydd râs yn unig heb weithredoedd. Yr ail a ddygir oddiamgylch gan rydd râs trwy weithredoedd. Y flaenaf sydd iachawdwriaeth gyffredinol; yr olaf sydd iachawdwriaeth i'r rhai hyny yn unig pa rai a dderbyniant yr Efengyl. Gwaredigaeth oddiwrth bechod Adda a'n hedfryd ni yn ol i bresennoldeb Duw; gwaredigaeth oddiwrth ein pechodau ein hunain a'n ceidw ni yn mhresennoldeb Duw mewn sefyllfa o ddedwyddwch annherfynol. Y rhai hyny a wrthodant waredigaeth rhag yr ail farwolaeth, a berir i dderbyn gwaredigaeth oddiwrth y farwolaeth gyntaf. Megys ag y dyrchafwyd Crist i fyny oddiar y groes gan ddynion drwg, felly y ca dynion drwg eu dyrchafu i fyny o'r bedd i sefyll o'i flaen Ef, i'w barnu am eu holl weithredoedd drwg. Megys ag y cafodd Crist ei farnu a'i wrthod gan bechaduriaid, felly y ca pechaduriaid eu barnu a'u gwrthod ganddo Ef. Fel hyn mae pob peth wedi ei gynllunio mewn doethineb, ac mewn cyfiawnder, ac mewn santeiddrwydd, er gwaredigaeth a dedwyddwch dyn, ac hefyd er ei ddamnedigaeth a'i drueni; fel y gallo trugaredd a chyfiawnder gael eu hawliau, a Duw yn berffaith yn ei holl briodoleddau.

Mor fawr a rhyfeddol yw gweithredoedd yr Hollalluog, megys eu harddangosir yn nghreadigaeth a llywodraeth dyn! Pa annherfynol ddoethineb a eglurir yn ei waredigaeth! Mor erfawr yr addysgiadau a ddelir allan i ddyn syrthiedig i'w adferyd a'i ddwyn yn ol i ddedwyddwch! Mor drugarog, ac etto mor gyfiawn yw Barnwr mawr yr holl ddaear, yn mesuriad allan wobrwyon a chospedigaethau yn gyfatebol i weithredoedd dynion!

82. Wedi dangos fod gan ddyn gynfodolaeth yn y nefoedd cyn sylfaeniad y byd, ei fod yn oruchwylydd deallgar, a moesol, yn cael ei lywodraethu gan gyfreithiau, ei fod wedi cadw ei sefyllfa gyntaf, fod y ddaear hon wedi ei threfnu yn breswylfod iddo, yn mha un y cafodd y fraint o gymdeithasu â phabell o gnawd, mai hon yw yr ail sefyllfa, yn yr hon y mae yn ymdrechu â phrofedigaethau newyddion o dan gyflyrau newyddion, pa rai, os bydd iddo eu gorchfygu, a chadw y cyfreithiau uwch a addaswyd i'r ystâd hon o fodoliaeth, a'i parotoant ef i gynnydd pellach yn mhriodoleddau a pherffeithderau ei Dad Nefol oddiwrth yr hwn y mae wedi deilliaw, a chan yr hwn ei cenedlwyd, yn hir cyn ei fodoliaeth bresennol; wedi dangos fod y syrthiad yn anghenrheidiol fel y gallai ddyfod yn gyffelyb i'r Duwiau, yn gwybod da a drwg, a bod gwaredigaeth yn anghenrheidiol fel y gallai wybod pa fodd i werthfawrogi dedwyddwch, wrth gyferbyniad â thrueni, cawn yn nesaf ymofyn i natur, tarddiad, a helaethder ei alluoedd fel bôd moesol a deallgar.

83. *Yn gyntaf.* Pa beth yw natur galluoedd dyn? Mae gan ddyn alluoedd o hunan-symudiad, o feddyliad, teimlad, casineb, cariad, mwynhad, dyoddefiad, cofio, ymresymu, a llawer o ansoddion ereill, rhy aml i'w crybwyll. O'r holl gynneddfau a feddiennir gan ddyn, hwnw o hunan-symudiad a ymddengys i ni y rhyfeddaf. Pob ysgogiadau, oddieithr y rhai hyny o eiddo bodau byw, a ddywedir eu bod o natur gelfyddydol—hyny yw, yn cael eu cynnyrchu gan sylwedd, yn gweithredu ar sylwedd; holl weithrediadau celfyddydol, yn eu tarddiad, ydynt ganlyniadau bywiol o allu hunan-symudol. Deddfau mawrion natur, eu hunain, ydynt ganlyniadau o'r gallu hwn. Nid oes un gallu arall yn y bydyssawd. Yr ansoddau hyny pa rai a elwir galluoedd celfyddydawl, galluoedd dysgyrchawl, galluoedd fferyllawl, &c., nid ydynt alluoedd, ond effeithiau yn unig. Y gallu a gynnyrcha yr effeithiau rhai'n sydd guddiedig o olwg marwolion. Gallu bywiol, deallgar, a hunan-symudol, yw gwreiddyn holl symudiadau a deddfau natur. Mae gan ddyn y gallu hwn o hunan-symudiad, ac yn ei arferyd i ychydig helaethder, yn symudiad ei aelodau a'i gorff. Ond myned i mewn i'r olrheiniad, yn y traethawd hwn, o natur galluoedd hunan-symudol yn gyffredinol, a fyddai yn ddyeithr i'r testun sydd dan ein hystyriaeth. Am hanes pellach ar yr egwyddor

ddirgel, ond dyddorawl hon, cyfeiriwn ein darllenwyr at ein traethawd, a elwir *Yr Achos Mawr Cyntaf, neu Alluoedd Hunan-symudawl y Bydyssawd.* Natur y meddwl, y côf, a'r holl alluoedd ereill o eiddo dyn, pa rai a enwasom, ydynt eisoes yn gynnefin i ddealltwriaeth pob un. Nid oes un a ddadleua nad yw dyn yn feddiannol ar yr holl gynneddfau hyn.

84. *Yn ail.* O ba le mae y galluoedd rhai'n wedi deilliaw? Pan y llefarwn am alluoedd yr ydym yn meddwl galluoedd gwreiddiol elfenol y meddwl. Gwyddom yn dda fod arddansoddwyr yn ystyried llawer o'r ansoddau a enwyd o natur ailraddawg neu gyfansawdd, yn dyfod allan o gyfuniad ansoddau ag ydynt etto yn fwy gwreiddiol. Yr ydym yn ewyllysgar gyfaddef yr holl bethau hyn; ond yr ansoddau ail-raddawg rhai'n, os eu dadglymir, a geir yn mhob enghraifft i fod yn darddiad o gyfuniad galluoedd syml, elfenol, a gwreiddiol. Y gofyniad yw, o ba le y deilliodd y galluoedd elfenawl rhai'n o eiddo y meddwl? Atebwn, eu bod yn dragywyddol. Galluoedd pob sylwedd ysbrydol ydynt yn dragywyddol, fel y sylwedd i ba un y perthynant. Nid oes un sylwedd yn y bydyssawd yr hwn sydd yn awr yn teimlo ac yn meddwl, a'r na feddiannai yn dragywyddol y gallu hwnw. Gellir diswyddo y galluoedd hyn am dymmor, ond byth nis gellir eu diddymu. Sylwedd ag sydd yn awr heb fod â'r galluoedd hyn ganddo, sydd raid iddo aros hebddynt yn dragywyddol. Y swm o sylwedd sydd mewn gwagle nis gall byth fod wedi cynnyddu neu leihau, nis gall ychwaith un gallu elfenol newydd gael ei ychwanegu at y defnydd hwn. Am y rhesymau a ddaliant dragywyddolrwydd defnydd a'i alluoedd, gwel ein traethawd y cyfeiriwyd ato yn yr ymadrodd blaenorol. A chaniatâu tragywyddolrwydd y galluoedd, yna y defnyddiau o ba rai y cyfansoddwyd ein hysbrydoedd, a raid fod yn alluog i feddwl, symud, ewyllysio, &c., cyn iddynt gael eu ffurfio yn nghroth y fenyw nefolaidd. Yn flaenorol i'r cyfnod hwnw yr oedd parhad diderfyn, ac yr oedd gan bob rhan o'n hysbrydoedd dragywyddol fodoliaeth, ac mewn meddiant o dragywyddol alluoedd. Yn awr, a ellir meddwl am fynydyn, fod y rhanau hyn yn llonydd a marw er pob tragywyddoldeb hyd oni dderbyniasant eu trefniant yn y ffurf o ysbryd mabanaidd? A allwn ni feddwl fod rhanau ag oeddynt yn meddu y gallu o symud eu hunain,

a'r na wnelent ymarferyd y gallu hwnw yn ystod y parhad diderfyn a flaenorai eu rheoleiddiad? Os oeddynt unwaith wedi eu rheoleiddio yn y deyrnas lysieuol, ac yna wedi eu hafreoleiddio trwy ddyfod yn fwyd anifeiliaid nefol, ac yna drachefn wedi eu hail-reoleiddio yn y ffurf o ysbrydion anifeiliaid, pa un sydd gylch uwch o fodoliaeth, yna a ydyw yn afresymol i dybied fod yr unrhyw ranau, er pob tragywyddoldeb, wedi bod yn myned trwy gadwyn o undebau ac anundebau, rheoleiddiadau ac afreoleiddiadau, hyd nes o'r diwedd y caniatawyd iddynt i fyned i mewn i'r cylch uwchaf a mwyaf dyrchafedig o reoleiddiad yn nhebygolrwydd a delw Duw? Trawsfudiaeth o'r unrhyw fân ranau o ysbrydion o îs i uwch drefniant, sydd yn amlygedig oddiwrth y ffaith fod yr un mân ranau yn bodoli mewn sefyllfa wasgaredig, yn gymmysgedig â defnydd arall; yn nesaf, maent yn bodoli mewn ffurf unol, yn tyfu allan o'r ddaear ar lun porfa, llysiau, a choedydd; ac ar ol hyn, y llysiau rhai'n sydd yn dyfod yn fwyd i anifeiliaid nefolaidd, a'r unrhyw fân ranau a reoleiddir idd eu hiliogaeth, ac fel hyn a ffurfiant ysbrydion anifeiliaid. Yma, ynte, y mae yn amlwg drawsfudiaeth o'r un mân ranau ysbryd, o iselach i uchelach trefniant, yn yr hyn y gwellheir eu cyflwr, a'u cylch o weithrediad a eangir. Pwy a esyd gyffiniau i uchel-dueddfryd ysbryd? Pwy a rag-noda derfynau idd ei gynnyddiad? Os y goddef ddeddfau ac ammodau ei wahanol sefyllfaoedd o fodoliaeth, pwy a ddywed na fydd iddo gynnyddu hyd oni ennilla wir uchder perffeithrwydd, a bodoli yn holl ardderchawgrwydd gogoneddus ddelw Duw?

85. Pan, gan hyny, mae y maban ysbryd gyntaf yn cael ei eni yn y byd nefolaidd, nid hyny yw dechreuad ei alluoedd. Pob mymryn a fodolai yn dragywyddol cyn y rheoleiddiad hwn; pob un a alluogwyd i amgyffred ei fodoliaeth ei hun; pob un a gafodd y gallu o hunan-symudiad; yr oedd pob un yn ddeallgar, yn fôd bywiol o hono ei hun, heb fod ganddo un wybodaeth am feddyliau neillduol, teimladau, a chyffroadau y mymrynau ereill â pha rai ni bu erioed mewn undeb. Yr oedd pob mymryn mor annibynol ar bob mymryn arall ag y mae un person yn annibynol ar y llall. Yn y cyflwr annibynol, ac ysgarol hwn, yr oedd yn alluog o gael ei lywodraethu gan ddeddfau addas idd y swm o wybodaeth a

phrofiad a ennillasai yn ystod ei fodoliaeth dragywyddol ag oedd wedi myned heibio. Pob mymryn ag sydd yn cydsynio â'r deddfau rhag-nodedig yn rheol ei weithrediad, caniatêir iddo i esgyn yn nghlorian bodoliaeth; o herwydd, trwy ufyddhau i'r ddeddf, yr ennilla fwy o wybodaeth, ac fel hyn a barotoir i weithredu mewn cylch uchelach, a than uwch ddeddf. O dan ba gymmaint o wahanol ddeddfau y bu y mymrynau hyn yn gweithredu yn ystod y diderfyn ysgol o brawf trwy yr hon yr oeddynt wedi myned, nid yw yn wybodus i ni. Pa radd o wybodaeth a gyrhaeddasant trwy brawf, yn flaenorol idd eu trefniant yn nghroth y fenyw nefolaidd, ni ddadguddiwyd. Un peth sydd sicr, y mymrynau a aethant i mewn i wreiddiol drefniant y maban ysbryd, a leolir mewn cylch newydd o weithrediad; y deddfau i'w llywodraethu hwynt yn y cyflwr uwch a newydd hwn raid fod yn wahanol i unrhyw ddeddfau o dan ba rai y buont yn gweithredu yn flaenorol.

*(I'w barhau.)* *Cyf.* D. E. Jones.

---

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 267.]

Ymollynga dynion ieuainc eu hunain i ddrygedd ac anfoesoldeb, mewn cyfartalwch i swm y temtiasynau a'r dylanwadau drwg yr amgylchir hwynt ganddynt. Lleihaer yr achosion, a lleiheir yr effeithiau hefyd; ac os dinystrir yr achos, paid yr effaith. Gadawer i'n cyfreithiau Taleithiol ganiatâu lliosogrwydd, ac anfynych y dygwydd i fenyw ymollwng i buteindra, eithr hi a ddewis briodas gyfreithlawn yn hytrach nâ bywyd o ddiraddiad a dyoddefaint. Byddin y menywod diraddiog, heb dderbyn ond ychydig neu ddim ychwanegiad at eu niferoedd, a leiheid yn fuan, ac o'r diwedd a ddinystrid gan eu ffolineb a'u drygioni eu hunain, ac fel yma, wedi i achosion temtasiwn beidio i radd fawr, rhodiai dynion ieuainc mewn awyrgylch iachach, ac nid cael eu denu yn feunyddiol, fel maent yn awr, allan o lwybrau rhinwedd. Lliosogrwydd a leihäai hefyd yn fawr y temtiasiynau a ymosodant ar wyr priodasol, yn gystal â'r rhai sydd ieuainc; ni byddent mwyach dan y demtasiwn o gadw gordderch-wraig yn ddirgel, a thori y cyfammod priodasol, ac felly bechu yn erbyn eu gwragedd ac yn erbyn Duw. Pa sawl miloedd sydd yn arfer y ffieidd-dra mawr hwn? A

phaham y gwnant hyny? Oblegid eu gorfodir gan ein dall-bleidiol gyfreithiau Taleithiol i gyfyngu eu hunain i un wraig. Pe bai ganddynt y rhyddid sydd gan bedair rhan o bump o genedloedd ereill, a'r hyn a warantir gan y Beibl a'n Ffurf-lywodraeth genedlaethol, gallent briodi aml-wragedd, a'u gorfodi i'w cynnal hwy a'u plant, yn lle bod ganddynt eu meistresi dirgelaidd, a'u troi ymaith pan y blinont arnynt. Pa un, a feddyliech chwi, a ddewisai menyw? A ddewisai hi fyw mewn godineb gyda dyn, yn un y gellid ei throi ymaith unrhyw foment, yn ddigeiniog a dinodded, yn hytrach nâ'i huno yn gyfreithlawn gydag ef mewn priodas anrhydeddus? Ai ni fyddai yn annherfynol fwy dewisol ganddi yr olaf nâ'r blaenaf ? Pe bodolai aml-wreigiaeth, anfynych y cydsyniai menywod i fod yn feistresi. Gan hyny, yn lle drygu moesau cymdeithas, byddai i aml-wreigiaeth effeithio yn gymhwys i'r gwrthwyneb ; byddai iddo fawr buro cymdeithas oddiwrth yr anfoesau a fodolant yn awr. Pa hyd y caiff y llywodraethau Taleithiol eu melldigo gan y fath gyfreithiau crintachlyd? Pa bryd y deffry y bobl i gydwybodolrwydd o'u dyledswyddau, a dileu y deddfau hyny a barasant gymmaint drwg? Pa bryd y dysgant fod yn rhyddfreinwyr unol ag ysbryd y Ffurf-lywodraeth, a pheidio llyfetheirio eu hunain yn hwy gyda chadwynau y goel-grefydd, a drosglwyddwyd i lawr o dywyll oesoedd Pabyddiaeth! Cyfodwch! Americaniaid, cyfodwch! torwch bob iau a ogwyddo at gaethiwed! Cymmerwch arnoch sefyllfa urddasol dinasyddion Americanaidd! Amddiffynwch, heb eu treisio, rydd-freiniau dewisiedig eich gwlad—y rhydd-freinniau a brynwyd mor ddrud gan eich hynafiaid ardderchog! na adawer i gadwynau bustlaidd crefydd-dwyll rwymo cydwybodau y genedl! na adawer i draddodiadau ac arferion dall-bleidiol crefyddau gwrthgiliedig ddylanwadu ar eich dosparthiadau deddfroddol! na adawer i farn a doethineb eich teyrn-ddysgawdwyr mawrion gael eu hud-lywodraethu oddiwrth egwyddorion pwysig rhyddid, sydd mor anwyl i bob calon Americanaidd! na adawer gosod unrhyw gyfreithiau i ddadgan fel trosedd, y peth a gymmeradwyir gan reswm, moesoldeb, a gair Duw megys rhinwedd! na adawer i unrhyw gyfreithiau eich gwahardd rhag y mwynderau a gyfodant oddiar y perthynasau teuluol ag ydynt resymol, moesol, rhinweddol, pur, a da! Os bu eich tadau yn

gaethiwus i goel-grefyddau Rhufeinig, cofiwch mai rhyddion ydych chwi! Ië, rhyddion oddiwrth bob anghydoddefedd crefyddol! rhyddion oddiwrth bob cenedl dan y nef! rhyddion i fwynhau pob bendithion a ordeiniodd Duw i ddyn, yn ddidrallod, oddigerth i chwi eich hunain, ddewis cyfreithiau yn gogwyddo i gaethiwed yn hytrach nâ rhyddid!

Gwneir gwrthddadl arall yn erbyn aml-wreigiaeth, trwy ymgymmeryd ei fod yn tueddu at ennyn drwg-dybiaeth mewn teuluoedd, a chan hyny, dadleuir ei fod yn droseddol, ac y dylid ei warafun trwy gyfraith. Os cyduna amryw fenywod i fod yn wragedd i'r unrhyw ddyn, ac iddo yntau ymddwyn atynt yn ddibleidiaeth, nis gwelwn ni un achos i ddrwg dybiaeth fodoli. Derbyn pob un yr holl sylw a ddysgwyliai ei dderbyn, pan yr anturiodd i'r cytundeb priodasol. Os ymgodai drwg-dybiadau, byddent o natur hollol wahanol oddiwrth y rhai hyny a achlysurid trwy i wr gymmeryd camrau anghyfreithlawn. Os treisia gwr ddeddfau rhinwedd, trwy gyssylltiadau anghyfreithlawn, coll y wraig ymddiried ynddo: a phan elo ymddiriediad ymaith, aiff heddwch a llonyddwch, a dystrywir sylfaen dedwyddwch yn y teulu. Nid felly, pan ymgyfyd drwg-dybiadau rhwng aelodau yr unrhyw deulu. Gŵyr pob gwraig fod gan y gwragedd ereill gymmaint hawl i ddyfalwch y gwr â'i hunan; gwybyddus iddi nad yw y cyfryw ddyfalwch yn droseddol, ac felly, nid yw hi yn colli ymddiriediad ynddo ef; ier y dichon iddi ei ystyried yn bleidiol, mewn rhyw foddion, etto y mae ganddi y dyddanwch o wybod fod ei bryder tuag atynt yn rhinweddol i fanyldra. Gan yr amddiffynir ymddiriediad, amddiffynir elfenau dedwyddwch. Mae y drwg-dybiadau a ymgyfodant oddiwrth ymddygiad anrhinweddol, yn gymmysgedig gyda chydwybodolrwydd o euogrwydd y person; tra nad oes i'r rhai a ymgyfodant oddiwrth yr achos arall y fath adfyfyriad trallodus; y blaenaf sydd greulawn fel y bedd, yn cnoi fel y pryf nad yw yn marw, hyd at wir linynau calon mwyniant a heddwch, tra nad yw yr olaf ond drwg rhanol, a symudol yn unig, yr hwn a chwalir ymaith yn fuan gan fwynder a dyfalwch y gwr. Aml-wreigiaeth, fel y mynegasom eisoes, sydd attalfa fawr rhag cyssylltiadau anrhinweddol, ac felly yn feddyginiaeth yn erbyn y drwg-dybiadau a ymgodent oddiwrth y cyfryw achosion. Am y fath arall o ddrwg-dyb-

iaeth, os ei gwaradwyddir â'r cyfryw enw, nid yw ond dibwys; fel y drwg-dybiaeth a ymgyfyd yn aml rhwng plant, aiff ymaith yn fuan. Nid yw y fath hyn o ddrwg-dybiaeth yn ddeilliedig o amledd, eithr yn ddeilliedig oddiar bleidgarwch, neu ynte a dybir yn bleidgarwch. Os dylid gwahardd amledd o herwydd y drwg-dybiadau a ddichon ymgodi, yna dylid gwahardd un-wreigiaeth neu y gyfundrefn o briodi un wraig, o herwydd y byth fwy drwg-dybiadau a ddichon ymgodi oddiar ofn i'r gwr gadw ei feistresi dirgel, megys ag y gwna miloedd. Mae y fath hyn o ddrwg-dybiadau yn gweithredu drygau mwy o lawer mewn cymdeithas, nâ'r hyn a ddichon i'r fath arall ei wneuthur. Os yr amcan mawr yw rhoddi attalfa trwy gyfraith i'r drygau a ymgodant oddiwrth ddrwg-dybiadau, gosoder cyfreithiau yn gofyn dyn i gael amledd gwragedd, neu ynte i fod heb un wraig; gwahardder yr arferiad o briodi un wraig, a bydd i chwi gyflawni mwy o lawer nag a wnewch wrth wahardd amledd. Eithr ni a ddywedwn, na adawer i unrhyw ddeddfau gael eu gosod mewn perthynas i sawl nifer o wragedd a ddichon neu a na ddichon dyn eu cael: gadawer pob dyn yn rhydd yn y peth hyn, ac mewn ychydig flynyddoedd, gwelech ddiwygiad mawr yn moesau y wlad; ni welech y ddegfed ran o'r puteindra sydd i'w weled yn awr; chwi a welech fenywod yn cyflawni dybenion ardderchog eu creadigaeth, yn lle bod yn buteiniaid ysgeler, di-dŷ, di-gartref, a di-blant, yn myned i lawr i'w beddau mewn gresynoldeb a thruenusrwydd, heb un i ofalu nac i alaru am danynt.

Gwrthddadl arall a gyflwynir yn erbyn amledd ydyw, ei fod yn wrthwynebol i ddefodau cenedloedd Americanaidd ac Ewropaidd, ac am yr achos hwn y dylid ei ystyried yn droseddol a'i warafun trwy osodiad deddfau llywodraethol. Mewn atebiad i'r wrthddadl yma, dywedwn fod yna laweroedd o bethau yn hollol groes i arferion cyffredin y bobl, yn rai nad ydynt droseddol, ac yn rai y byddai yn drais ar y Ffurf-lywodraeth eu gwahardd. Y Crynwyr a gredant mewn dawnsio yn eu cyfarfodydd crefyddol ar y dydd Sabboth; mae yr arferiad hwn yn anfri trwyadl ar ddefodau y genedl. A fyddai yn gyfreithlawn ac uniawn i osod deddfau gan wahardd yr arferiad yma o eiddo y Crynwyr, ar y sail ei fod yn groes i ddefod? Dosparth arall o bersonau a gredant yn yr arferiad ffiaidd o

daenellu babanod, gan weithredol arfer y ffieidd-dra hwn yn enw yr Arglwydd. Mae hyn yn drwyadl wrthwynebol i ddefodau y mwyrif mawr o'r genedl hon. A raid gwahardd y dosparth hwn rhag yr arferiad yma, oblegid ei fod yn wrthwynebol i ddefodau y genedl? Bu i'r Crynwyr, a rhai cydgorffolwyr ereill, fabwysiadu yr hen arferiad o gael eu holl eiddo megys cyfoeth cyffredinol: mae hyn hefyd yn hollol wahanol oddiwrth ddefod cyffredin y genedl; a raid, am y rheswm hwn, ei wahardd trwy gyfraith? Y Pabyddion Rhufeinig a arferant lawer o seremoniau ac ordinhadau y rhai nas arferir gan y mwyfafrif mawr o'r genedl. A raid dadgan eu defodau fel yn droseddol, a'u gwahardd trwy gyfraith, oblegid eu bod yn wahanol oddiwrth rai y genedl? Mae gan bob cymdeithas yn yr Unol Daleithiau rai yn cytuno gyda'r defodau cenedlaethol, a rhai sydd yn briodol iddynt eu hunain. Ai cytunol ag ysbryd y Ffurf-lywodraeth a fyddai gorfodi pob cymdeithas i beidio â'r oll o'u harferion priodol, oblegid nad ydynt ddefodau cenedlaethol? Mae Eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf mewn llawer ystyriaeth yn arfer pethau cytunol â defodau cenedlaethol, ac mewn ystyriaethau ereill mae ganddynt eu defodau priodol, fel pob cymdeithasau ereill. Nid yw o bwys faint a wahano defodau priodol cymdeithas oddiwrth y rhai cenedlaethol, ond darparu na fyddont anfoesol, neu droseddol, neu a'u tuedd i ddrygu cymdeithas. Nid yw y ddefod neillduol o amledd, a arferir gan rai yn Utah, yn ymyraeth dim gyda iawnderau unrhyw berson; nid yw anfoesol mewn un ffordd; nid yw mewn un ffordd yn drygu y pleidiau eu hunain, na neb arall; nid yw anysgrythyrol mewn un dull; nid yw yn ymladd mewn un dull gyda'r Ffurf-lywodraeth; nid yw mewn un ffordd yn treisio unrhyw rai o gyfreithiau Utah, nac unrhyw gyfreithiau ereill i'r rhai y mae dinasyddion y Diriogaeth hono gyfrifol iddynt. Gan hyny, nid oes yr unrhyw reswm pa bynag dros ei alw yn droseddol, neu dros osod deddfau llywodraethol yn ei erbyn.

Anhawdd yw i ni ddychymmygu, paham yr ystyriodd Llywraethau Taleithiol erioed mai anghenrheidiol gwneyd cyfreithiau at gyfyngu eu dinasyddion i un wraig. Nis gallwn weled unrhyw achosion neu anghenrheidrwydd pa bynag am y fath gyfreithiau. Cyfreithiau ydynt a sefydlwyd yn hollol ar

ddefod. Oblegid bu i'r cenedloedd Ewropaidd, oddiwrth ba rai y dechreuasant yn wreiddiol, gael eu rhwymo i lawr o dan y sefydliadau crintachlyd hyn, a chael gosod iau ar eu gwarau gan grefydd-dwyll; a thrwy i'r galluoedd eglwysig gael eu huno gyda y rhai gwladwriaethol, nis gallasai ein tadau mewn modd yn y byd ryddhau eu hunain ar unwaith oddiwrth y coel-grefyddau traddodiadol hyn. Rhaid iddynt ddilyn defodau eu tadau mewn rhyw ystyriaethau, er mor anghytunol y gallant fod. Mor wir ydyw y syniad am bobl a fuont hir mewn caethiwed, neu dan ddylanwad traddodiadau cyfeiliornus, nas dichon iddynt ymryddhau ond yn raddol. Gwelwn hyn yn cael ei wirioneddu yn y genedl Americanaidd: drylliasant iau gormes a gorthrymder, a phlanasant flagur rhyddid ar eu tir; galwasant eu hunain yn rhyddion, eithr mewn rhan yn unig y maent ryddion. Eu dosparthiadau deddfroddol ydynt o hyd ystaeniol gyda chrefydd-dwyll, neu gyda y syniadau anhael a yfwyd gan ein tadau dan sefydliadau gorthrymus y galluoedd Ewropaidd. Ceir enghraifft o hyn trwy eu bod o hyd yn dilyn y llywodraethau hyny mewn gwahardd lliosogrwydd. Nis gall y Taleithiau roddi un rheswm paham y dilynant y traddodiad cyfeiliornus hwn, ond yn unig dywedyd, "yr oedd yn ddefod ein tadau." Ai nid yw yn amser i ddeddf-osodwyr a gwladwriaethwyr i ddechreu ymholi i'r rheswm o'u cyfreithiau? Nid digon at foddloni ysbryd cynnyddol yr oes, yw dywedyd wrthym y gosodir cyfreithiau penodol, oblegid eu cymmeradwyir gan ddefodau oesoedd tywyll a gormesol. Nid yw yn ddigon braidd i ddywedyd, yr ydym yn dadgan gweithred fel yn droseddol, o herwydd fod y cenedloedd Ewropaidd yn ei dadgan. Os ydyw meibion rhyddid Americanaidd i'w gwahardd oddiwrth arferion penodol a ddichon iddynt hwy eu hystyried yn berffaith ddiniwed, ewyllysiant gael eu hysbysu yn mha beth y mae yr arferion hyny yn droseddol: nid ydynt yn ewyllysio eu dwyn i gaethiwed yn llygad-gauad. Nid ydynt chwaith yn ewyllysio ethol deddf-osodwyr i bawenu arnynt gamweddau Pabyddiaeth, oblegid eu bod yn ddefodol yn mhlith cenedloedd ereill. Ewyllysio yr ydym i ryw rai o'n gwladwriaethwyr doeth, neu ryw bersonau addas ereill, gymmeryd i fyny y pwnc o aml-wreigiaeth, a dangos yn mha le y mae yn anfoesol, neu yn anysgrythyrol, neu yn droseddol. Mae ar y bobl eisieu

profion, ac nid dadganiadau; rheswm, ac nid twyll-resymeg; tystiolaeth, nid traddodiadau poblogaidd neu ddefodau: y mae arnynt eisieu prawf penderfynol goleu, amlwg, fod yr arferiad yn ddrwg. Os nad oes yna bersonau addas i'r gorchwyl, hwy a arwyddant hyny trwy barhau i ddilyn hen ddefodau dadganiad, neu o leiaf, trwy eu dystawrwydd.

*(I'w barhau.)*

*Cyf.* ROBYN DDU.

---

## CAN Y WRAIG I'W PHRIOD MEDDW.

AM danat ti, fy mhriod wr,
  Gadawais artref clyd,
Lle gwelwyd gwenau nef yn siwr,
  I'th ganlyn trwy y byd;
Pa le mae'r addewidion oll
  A wnaethost i mi gynt,
Y rhai ennillai'm calon fach?
  Gwasgarwyd trwy y gwynt.

Pan syllwn ar dy harddaf ffurf,
  Ymlawenhau wnawn i,
Wrth feddwl mai dewisol a
  Phriodol o'wn i ti;
Dywedwyd cyn im' ddod i'th ran,
  "Trwm yw dy dynghed di,"
Ond ni chanfyddwn ddim yn mlaen—
  Dy swyn a'm dallodd i.

Gadewais dref, dedwyddol dref,
  Lle harddaf îs y rhôd,
Ac ni ddych'mygais gallai hyn,
  A thristwch i mi ddod;
'Does ond cysgodau'n eiddo im',
  Gwawl f' oes ffôdd ar ei hynt;
'Does ond y drain o dan y fron,
  Lle bu rhosynau gynt.

Nis gwnaf dy feio am hyn oll,—
  Fy llef ar Dduw y sydd,
Am wel'd y temtiwr yn dy roi
  O'i swynol allu'n rhydd,
Fel gelli grymu wrth fy arch
  Mewn edifeirwch dwys,
A gollwng deigryn bach o barch
  I'r hon f'o dan y gwys.

*Merthyr.* JOHN REYNOLDS, IEU.

## AMRYWIAETHAU, &c.

EFFEITHIAU YR HIN.—Mae yn deilwng o sylw nad yw y ceiliog Prydeinig, h.y., y brodor o rywiau yr India Ddwyreiniol, o'r enw uchod,—ddim yn fychan, fel y creadur pluog bychan a elwir felly yn Lloegr, ond yn aderyn mawr iawn, ac yn gyffredin yn ddigon tal i bigo ymaith fwrdd ciniawa.

MENYW.—Ni all dyn feddiannu unrhyw beth sydd yn well nâ menyw dda, nac unrhyw beth sydd yn waeth nag un ddrwg.

"DANFON plentyn heb ddysg i'r byd," medd Paley, "sydd ychydig yn well nâ throi allan gi cynddeiriog, neu anifel gwyllt i'r heolydd."

GEIRIADUR AMERICANAIDD NEWYDD.—*Cath*—Creadur a gara hen forwynion, o herwydd ei bod yn rhoddi gwreichion allan pan gaiff ei rhwbio. *Damsang-felin* (Treadmill)—Lle neillduedig er mwyn y rhai hyny a roddir i gymmeradwyaeth. *Penguwch* (Bonnet)—Math o lo-hawc gwrthdroedig, yn yr hwn y mae penau boneddigesau yn cael eu cario. *Adfyd*—Bywyd argraffydd fyddo heb ei dalu. *Dim*—Cydwybod drwyadl gwladwriaethwr. *Gwlaw-lenau*—Meddiant cyffredin. *Annibynrwydd*—Penderfyniad cryf i osod dy hun lle nad oes dy eisieu. *Tymhestl*—Rhywbeth a ddaw ar ol y lleuad-fêl i bobl wedi priodi. *Haeddiant*—Yr hwn nad yw yn derbyn canmoliaeth. *Arian*—Pysgodyn neillduol o anhawdd i'w ddal *Y Bedd*—Twll anferth yn y ddaear, yr hwn y mae cariadau a phrydyddion yn chwennych bod ynddo, ond a gymmerant ofal anghyffredin i gadw oddiwrtho. *Gweddusrwydd*—Blodeuyn hyfrydawl a flodeua mewn lleoedd dirgel yn unig. *Teimladrwydd*—Cynneddf yr hon y mae ei meddiannwr, wrth anturio i ddyrchafu dedwyddwch dynion ereill, yn golli ei hunan.

---

TALIADAU O HYDREF 28 HYD TACH. 3.—Sir Ddinbych, £1; Sir Fôn, 8s 4c; Pontytypridd, 9s 6c; Aberdâr, 3s 3c; Aberamman, 5s; Hirwaen, 2s 3½c; Georgetown, 5s.—Cyfanswm, £2 13s 4½c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 20.] TACHWEDD 12, 1853. [CYF. VI.

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 307.]

DYLAI y Taleithiau nid yn unig ganiatâu lliosogrwydd, eithr gosod deddfau doeth a synwyrol i reoleiddio yr unrhyw. Dylid gorfodi y gwr trwy gyfraith i ddarbod dros ei wahanol wragedd a phlant, yr un fath â phe na buasai ganddo ond un. Dylai y gyfraith wneuthur darpariadau gogyfer â phob un o'i wragedd a'i blant ar ei farwolaeth, i etifeddu cyfran o'r etifeddiaeth. Dylai y gyfraith ei ystyried yn rhwym trwy fywyd i bob un o'i wragedd, fel pe na phriodasai ond un; ni ddylid ei ystyried yn ysgaredig oddiwrth un, oddigerth trwy drefn briodol cyfraith; a godineb a ddylai fod yr unig drosedd, fel y dywedodd ein Iachawdwr, o herwydd yr hwn y dylid cyfiawnhau dyn am roddi ymaith un o'i wragedd. Os, yn lle difodi lliosogrwydd, y byddai i'r Taleithiau reoleiddio yr unrhyw dan gyfreithiau da ac iachusol, hwy a'i gwnelent yn llawer gwell dros y gyfran fenywaidd o'r werin; ac mewn amser prynai hyn y genedl oddiwrth y drygau ofnadwy o buteindra, gan yr hwn ei melldigir yn awr. Yn y dadleuon hyn gosodasom allan beth a ddylid ei oddef mewn perthynas i liosogrwydd, gan belled ag y mae a wnelo athrylith ein llywodraeth a'n gosodiadau deddfroddol â'r cyfryw. Ond pan yr ystyriom briodas yn ei pherthynas â llywodraeth ddwyfol y nef, dywedwn, fel y mynegasom eisoes, nad oes gan un dyn yn y genedl hon, nac unrhyw arall, hawl ddwyfol i briodi hyd y nod un wraig, a llawer

llai amledd, hyd nes y delo yn ddigon cyfiawn i ddwyn i fyny ei blant yn unol â chyfraith y nef; ac i achub ei hunan a'i blant yn y bydoedd tragywyddol. Mae gwahaniaeth eang i'w wneuthur mewn perthynas i'r peth hyn, rhwng y llywodraeth ddwyfol â llywodraethau dynol, ac ni ddylid mewn un modd eu dyrysu yn un. Eglwys a gwladwriaeth ydynt hollol wahaniaethol gyda'r genedl Americanaidd. Yn ol cyfreithiau yr Eglwys ni ddylai y drygionus gael un hawl na theitl, i'r sefydliad dwyfol o briodas; yn ol cyfreithiau y Taleithiau dylent gael yr hawl o briodi cynnifer o wragedd ag a ewyllysiont; y mae yn fraint sydd ganddynt hawl i'w hòni, yn gyfunol ag ysbryd ac â athrylith y Ffurf-lywodraeth; trais ar egwyddorion rhyddid a gynnwysir yn y gyn-ysgrif gyssegredig hono, ydyw eu cyfyngu i un, tra y mae dwy neu ychwaneg yn llawn mor anrhydeddus ag un. Mae yn wir, nad oes a wnelo Duw â'u priodasau tra mewn cyflwr o ddrygioni. Os oes ganddynt un wraig neu ddwsin, y mae yr oll yn anghyfreithlawn, gan belled ag y dwg berthynas â Duw. Ond i fod yn gytunol gyda y ffurf o lywodraeth a fabwysiadodd y genedl, ni ddylai fod un cyfyngiad mewn perthynas i'r nifer.

Mae gwahaniaeth trwyadl yn Nhiriogaeth Utah, fel yr holl Diriogaethau ereill, rhwng y llywodraeth wladol, a'r amrywiol ffurfiau o lywodraethau eglwysig. Ni welodd llywodraeth wladol Utah yn addas i gwtogi rhydd-freiniau ei dinasyddion mewn perthynas i'r nifer gwragedd a allant eu cael. Gan hyny, yr Henaduriaid, y Bedyddwyr, y Trefnyddion, Saint y Dyddiau Diweddaf, a phob enwadau ereill, pa un a ydynt yn gredinwyr mewn unrhyw gredo, neu anghredinwyr, a all deimlo tuedd i ymsefydlu yn Utah, ydynt rai â chanddynt, oll a phob un o honynt, y rhyddid o briodi cynnifer o wragedd ag a feddyliont yn addas, ac ni fydd i'r llywodraeth wladol ymyraeth â hwynt. Ond os bydd i Saint y Dyddiau Diweddaf, neu os bydd i unrhyw enwad arall yn y Diriogaeth hono, ei deimlo eu dyledswydd i gyfyngu aelodau eu heglwysi perthynasol i un wraig, neu i heb un (fel y Crynwyr), o dan y gosp o ddiarddeliad o'u heglwysi, mae ganddynt y rhyddid mwyaf perffaith yno, fel yn yr holl Diriogaethau ereill, i wneuthur felly. Os na chaniateir gan ei Eglwys i ryw aelod o Saint y Dyddiau Diweddaf briodi dwy wraig, medrai etto, trwy wrthryfela yn

erbyn rheolau ei Eglwys, fyned a phriodi dwy o dan y gyfraith wladol; ac ni allai Eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf wneuthur dim gydag ef, heblaw ei fwrw allan o'u cymdeithas. Mae gan unrhyw enwad mewn unrhyw Dalaeth neu Diriogaeth yr hawl fwyaf diammheuol i wahardd priodas yn hollol, gan belled ag y perthyn i'w Heglwys; ond nid oes ganddynt hawl i ymyraeth gyda'r cyfreithiau gwladol yn rheoleiddio priodasau.

Nid oes gan Saint y Dyddiau Diweddaf, yn Utah, fwy o rydd-freiniau neu freintiau yn ganiatäol iddynt gan y gallu gwladol, nag y sydd gan ryw enwad arall a ddewiso ymsefydlu yno. Os cyfansoddant y mwyafrif o'r boblogaeth, gallant ethol y fath bersonau ag a welont yn addas i'r dosparthiadau deddfroddol: nid yw hyn ormes, ond y mae yn hollol gytunol ag arferiad yr holl lywodraethau Tiriogaethol a Thaleithiol ereill. Y mwyafrif sydd yn rheoli—y mwyafrif sydd yn ethol: hyn ydyw gwir hanfod ein sefydliadau cenedlaethol. Nid ydyw Utah yn eithriad; llywodraethir hi, yn mhob ystyr, gan yr awdurdod gwladol, ac nid gan yr eglwysig: cyfyngir yr olaf yn gwbl i'r Eglwysi o'r gwahanol gymdeithasau crefyddol a ymsefydlasant, neu a ymsefydlant yn y Diriogaeth, tra mae y flaenaf yn rheoleiddio yr oll trwy y cyfreithiau gwladol. Nid oes gan Saint y Dyddiau Diweddaf, yn eu cyflwr o Eglwys, ddim mwy llais yn llywodraeth Utah, nag sydd gan y Trefnyddion, neu ryw enwad arall. Hwynt, yn gystadl â phob cymdeithas arall, ydynt rwym o ymostwng i'r awdurdod gwladol.

Gobeithir na fydd i'r dosparthiadau deddfroddol yn Utah byth gael eu sarnu gan ddefodau y tiriogaethau ereill, fel ag i ormesu ar hawliau y perthynasau teuluol, gan eu cyfyngu a'u cwtogi yn unol â'r coel-grefyddau cyfeiliornus a drosglwyddwyd i lawr i'n dydd ni gan genedloedd Cristionogaeth wrthgiliedig. Y mae i'w obeithio yn mhellach, yr olrheiniant yn ofalus i natur pob deddfau ac arferiadau a ddadganwyd yn droseddol, ac y gwahanant yn ddoeth á dibleidiaeth rhwng yr hyn sydd wir droseddol, â'r hyn, o herwydd defod, a gyfeiliornus elwir felly. Y fath ydynt y rhywiogaeth o ddeddf-wneuthurwyr y dylid eu ceisio yn mhob Talaeth a Thiriogaeth.

Yn y blaenorol, atebasom yr holl wrthddadleuon yn erbyn

aml-wragedd, a sylfaenir ar y dybiaeth ei fod yn droseddol; a dangosasom yn eglur eu bod heb sylfaen. Cawn yn nesaf fyned yn mlaen i ddangos fod lliosogrwydd gwragedd yn mysg y bendithion mwyaf a gyflwynwyd ar y cyfiawn. Amlwg mai bendith fawr yw cael ymddiriediad â gallu ac awdurdod i reoli a llywodraethu yn gyfunol â chyfraith cyfiawnder. Duw ydyw goruchaf Reolydd y bydyssawd. Mae Efe yn rheoli pob bodau a phethau, gyda deddfau trwy y rhai yr ymddengys ei ddoethineb a'i allu. Efe a arfer oruchaf allu ac awdurdod, o herwydd fod ganddo oruchaf ddoethineb a gwybodaeth. Ei ogoniant a'i ddedwyddwch Ef ydyw llywodraethu pob peth. Pe yr amddifadid Ef o'r fraint o lywodraethu, amddifadid Ef o'i ogoniant. Felly y mae gyda ei holl hiliogaeth; y maent yn ddedwydd a gogoneddus mewn cyfartalwch i faintiolaeth yr awdurdod a'r gallu dwyfol a ymdiriedwyd iddynt, a darbod yr arferant y cyfryw mewn cyfiawnder.

Mae Duw yn gyffredin yn ymddiried ei weision yn gyntaf â gwragedd, ac wedi hyny â phlant, i weled y fath lywodraeth a arferant; os eu canfyddir yn ffyddlawn dros y rhai hyny a roddwyd iddynt, Efe yn gyffredin a ganiatâ ychwaneg iddynt, mewn trefn i'w holafiaid allu dyfod yn lliosog, ac fel y gallo awdurdodau eu llywodraeth gael eu heangu.

Cymhwyswyd dyn yn well at lywodraethu ei hiliogaeth ei hunan nâ hiliogaeth ereill, oblegid ei dylanwadir i lywodraethu er eu daioni, trwy gylymau tadaidd y serch a feddiennir yn naturiol gan dadau tuag at eu plant. Gan hyny, sefydlwyd y llywodraeth deuluaidd neu batriarchaidd yn ddoeth gan Dduw. Efe ydyw Awdwr serch tadaidd: Efe a gorffolodd yr egwyddor yn mynwes dyn er daioni yr eppil. Anghenrheidiol i'r egwyddor o lywodraeth dadaidd, er y serchiadau naturiol, ydyw bod dan gyfarwyddid a rheolaeth cyfraith Duw, a dylanwad yr Ysbryd Glân. Megys y gogoneddir Duw trwy ddyfodiad niferi i'w deulu Ef, felly y gogoneddir ei weision trwy ychwanegiad i'w teuluoedd hwythau. Duw, gan hyny, yn ddoeth a ordeiniodd amledd gwragedd, fel y gallo teuluoedd ei ffyddlawn weision gynnyddu hyd y nod megys ag y mae ei lywodraeth a'i deyrnasoedd ei hunan yn cynnyddu. Y peth hyny a helaetho arglwyddiaeth yr Hollalluog a'i gogonedda Ef; a'r unrhyw bethau ag a ogoneddo Dduw a ogonedda ddyn. Dywedir yn

Esaiah am Grist, "Ar helaethrwydd ei lywodraeth ni fydd diwedd;" ac megys y "Tywysog heddwch," y caiff eistedd "ar orseddfa Dafydd, ac ar ei frenimiaeth ef, i'w threfnu hi, ac i'w chadarnhau â barn ac a chyfiawnder, o'r pryd hwn a hyd byth" (Esa. ix, 7). Megys na fydd diwedd i gynnydd y niferi a ddeuant dan lywodraeth ac arglwyddiaeth Crist, felly ni fydd diwedd i gynnydd y llywodraethau, ac arglwyddiaethau, a theyrnasoedd ei weision; o herwydd y gwneir hwynt yn gyffelyb i Grist, ac i fod yn un ag Ef, hyd y nod fel y mae Ef a'r Tad yn un. Pan welodd y Prophwyd Esaiah, y buasai i Grist gael ei "dori o dir y rhai byw," gofynodd, "Pwy a draetha ei oes Ef?" Efe a'n hysbysa yn uniongyrchol y byddai i Grist ei hunan, gael ei ddyddanu, yn ei fynydau marwol, trwy gael gwybodaeth o'i genedlaeth yn ddadblygedig i'w olygon. "Pan osodi ei enaid yn aberth dros bechod, efe a wel ei hâd" (Esa. liii). Llawer a dybiasant fod hâd Crist neu ei genedlaeth yn cyfeirio at y rhai hyny a enir i'w deyrnas, yn neillduedig. Ond rhaid i ni gofio fod y trigolion a fwriadwyd i'r ddaear hon yn derfynol mewn nifer; ynghyd â pha mor liosog bynag y dichon fod y rhai a ddeuant ar y ddaear hon yn feibion mabwysiadol iddo, mai amlwg er hyny ydyw y bydd diwedd, neu amser pryd na bydd i ychwaneg o ddynolryw dderbyn cyfraith y mabwysiad; ond y mae cynnydd llywodraeth Crist i fod heb un diwedd, gan hyny, rhaid yw fod yna gynnydd parhaol i'w "hâd" neu "genedlaeth" trwy oesoedd tragywyddol: hyn yw y peth a'i dyddanodd Ef yn awr ei ddyoddefiadau mwyaf. Yn awr, oddigerth fod cynnydd hâd a chenedlaeth ei weision hefyd yn dragywyddol, ni fyddent yn gyffelyb iddo; deuai eu harglwyddiaethau a'u llywodraethau i sefyll yn hollol; tra yr eiddo Ef yn gynnyddol, byddai yr eiddynt hwy yn sefydlog; tra y poblogai Ef fydoedd ar fydoedd â'i genedlaethau, gan ychwanegu teyrnasoedd ar deyrnasoedd, byddai ei frodyr ieuengaf, yn unol â thyb y cenedloedd, yn eistedd i lawr ar eu gorseddfeinciau gyda ond hanner dwsin neu ddwsin o deulu, heb unryw fodd i gynnyddu eu hâd neu genedlaethau yn gyffelyb i'w Brawd hynaf.

Y bydd i genedlaethau barhau wedi yr êl y ddaear hon heibio, sydd dra amlwg oddiwrth amryw ranau o'r Ysgrythyr. Moses a ddywed, "Gwybydd gan hyny, mai yr Arglwydd dy

Dduw, sydd Dduw, y Duw ffyddlawn, yr hwn sydd yn cadw cyfammod a thrugaredd â'r rhai a'i carant Ef, ac a gadwant ei orchymynion, hyd FIL O GENEDLAETHAU" (Deut. vii, 9). Yn ol y cyfrifiad lleiaf, nis gallwn alw cenedlaeth yn llai nag ugain mlynedd, ac hyd y nod wrth y cyfrifiad isel hwn byddai mil o genedlaethau yn ugain mil o flynyddodd. Yn awr, ni fydd i fodoliaeth amserol y ddaear a marwol ddyn barhau dros saith neu wyth mil o flynyddoedd, ar ol hyny caiff y Ddaear Newydd ei gwneuthur, yn breswyledig gan fodau anfarwol, ar yr hon ni bydd mwyach farw. Bydd, gan hyny, ddeuddeg neu dair mil ar ddeg o flynyddoedd wedi yr êl y ddaear heibio, cyn y dichon fod "mil o genedlaethau:" ac etto y Prophwyd Moses a'n hysbysa y bydd i Dduw gadw ei gyfammodau gyda y rhai a gadwant ei orchymynion, hyd y nod "i fil o genedlaethau." Y cenedlaethau o Grist yn ol i Adda, yn unol â'r bennod gyntaf o Mathew, mewn cyssylltiad â'r Hen Destament, nid oeddynt ond un a thri ugain eu nifer; tra y drydedd o Luc yn cyfrif eu nifer yn bymtheg a thrugain. Pe byddai pymtheg cenedlaeth a thrugain ar ol Crist, cyn diwedd y ddaear, ni wnelai ond un cant a deg a deugain o gwbl: a hyn wedi ei dynu o fil, a adawai wyth cant a deg a deugain o genedlaethau i'r Ddaear Newydd yn mysg bodau anfarwol. Os yw cenedlaethau yn mysg bodau anfarwol yr un cyfartalwch eu hyd, fel y rhai hyny a berthynant i farwoldeb, a gyfrifir gan Luc, yna gofynid dros deugain mil o flynyddoedd cyn y gellid poblogi y Ddaear Newydd gydag wyth cant a deg a deugain o genedlaethau. Mae y ffaith bendant, ddarfod i'r Arglwydd addaw cadw ei gyfammod i fil o genedlaethau, yn dangos yn eglur y bodola lliosogiad yn mysg y rhai sydd anfarwol yn gystadl ag yn mysg y rhai sydd farwol. Prawf hyn yn amlwg yr anghenrheidrwydd o briodi am byth, yn gystadl ag amser, gan sicrhau y fendith hono yn y bywyd hwn, fel ei mwynhaer yn y nesaf.

Dangosasom yn y sylwadau blaenorol fod Duw yn cofio ei Gyfammodau a'i addewidion "i fil o genedlaethau," yr hyn a brawf, yn ddiwrthddadl, y parha cenedlaethau yn nhragywyddoldeb yn mysg bodau anfarwol. Bydd i genedlaethau ar y Ddaear Newydd wahaniaethu oddiwrth y rhai ar ein daear bresennol, mewn amrywiol ystyriaethau. Yn gyntaf, bydd yr

eppil yn ysbrydoedd, ac nid yn gnawd ac esgyrn; yn ail, yr ysbrydoedd hyn, er yn wrryw a benyw, ni phriodant ac nis rhoddir mewn priodas tra ar y Ddaear Newydd, ac o ganlyniad, ni liosogant; ac yn olaf, ni fydd na rhieni na phlant yn ddarostyngedig i farwolaeth. Ar y ddaear hon, ystyrir rhieni yn genedlaeth gyntaf; plant, yr ail; wyrion, y drydedd; gorwyron, y bedwaredd; ac felly yn mlaen: ond ar y Ddaear Newydd, nis gellir cyfrif cenedlaethau yn ol y dull hwn, oblegid y rheswm syml na fydd yno nac wyrion na gor-wyrion, oddigerth gan belled ag y perthyn i'r tabernaclau, ond yr oll a fyddant blant. Megys ag y cynnrychiola y rhieni anfarwol y genedlaeth gyntaf, eu hanfarwol blant a gynnrychiolant yr ail; ond ni all y bydd yno byth drydedd na phedwaredd, nac unrhyw nifer ddyfodol o genedlaethau ar y Ddaear Newydd.

Cyn y dichon i'r ail genedlaeth o'r plant gael y fraint o godi eppil o ysbrydoedd i fyny, a elwir y drydedd genedlaeth, rhaid iddynt gael byd wedi ei greu iddynt; cael derbyn cyrff o gnawd ac esgyrn ar yr unrhyw; myned trwy ail gyflwr yn debyg i'r un yr â trigolion y ddaear hon yn awr trwyddo; marw a chael eu prynu oddiwrth y bedd; ac i'w byd gael ei brynu, ei ogoneddu, a'i wneuthur yn newydd, yr un fath ag y bydd yr eiddom ni; ac yna, dechreuant liosogi eppiledd o ysbrydoedd; y rhai hyn a fyddant y drydedd genedlaeth, neu wyrion y rhai hyny ag sydd brynedig ac yn preswylio y ddaear hon yn ei sefyllfa ogoneddus. Rhaid yw y crëir byd newydd i bob cenedlaeth ddilynol, fel y bydd i genedlaethau yn mysg bodau anfarwol gael eu cyfrif yn gyfunol â llinach bydoedd. Bydd i bob byd dilynol gael ei boblogi gan fodau o'r un urdd o genedlaeth.

Yr holl breswylwyr a fwriadwyd i'r ddaear hon, ydynt, gan belled ag y perthyn i'w hysbrydoedd, o'r unrhyw genedlaeth; yr oll ydynt feibion a merched un Tad: ond gan belled ag y perthyn i'w tabernaclau, y maent yn ddilyniad o genedlaethau. Cenedlaethau yn mysg bodau anfarwol ydynt o urdd uwch, yn gyfrwng o ymgorffoliad sylwedd ysbrydol yn yr hwn y bodola galluoedd ag sydd annherfynol yn eu natur. Y genedlaeth hon yn uwch neu berffeithiach ei hurdd, a ofyn ystod o barhad eangol tuag at hyfforddiant a graddol eglurhad galluoedd

yr eppil ysbrydol; am hyny caniateir i'r plant i breswylio ar yr un byd gyda eu rhieni am lawer mil o flynyddoedd, cyn darparu byd arall iddynt ei etifeddu; a chyn yr ymddiriedir hwynt gyda y fraint fawr a mwyaf cyssegredig o briodi tuag at y dyben annherfynol bwysig o liosogi eu rhywiogaethau. Yn wir, gofynid amryw filoedd o flynyddoedd, cyn y gallai tad godi i fyny eppil ddigon lliosog i boblogi un byd mor fawr â hwn. Ac yn mharhad yr ystod eangol hon o amser ni allai gael wyrion; yr oll fyddent ei feibion a'i ferched ei hunan; yr oll yn cael eu cyfrif yn yr unrhyw genedlaeth; ac oll yn aros gyda eu rhieni yn yr hen gartrefle, hyd nes, o eisieu lle, y crëid byd newydd, ac helaethu yr arglwyddiaethau, ac anfon y plant ar led i weithredu drostynt eu hunain, ac i ymbarotoi i rodio yn nghamrau eu tad, trwy briodi a lliosogi fel y gwnaeth yntau o'u blaen hwynt. Mil o flynyddoedd, gan hyny, yn mysg bodau anfarwol, a gofleidiai ystod llawer miliynau o filiynau o flynyddoedd.

*(I'w barhau.)*

*Cyf.* ROBYN DDU.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 301.]

86. Y MYMRYNAU a drefnwyd yn faban ysbryd, nis gallant yn hwy weithredu, neu deimlo, neu feddwl, fel neillduolion annibynol; ond y ddeddf a'u llywodraetha hwynt yn eu cylch newydd, a ofyn iddynt i weithredu, a theimlo, a meddwl, mewn undeb, ac i fod yn gydunol yn mhob peth. Pan mae yr un teimladau, yr un meddyliau, yr un cyffroadau, a'r un serchiadau yn treiddio pob mymryn yn yr undeb, yr unol neillduolion a ystyriant eu hunain megys un neillduolyn; lles a daioni y naill fydd yn les a daioni y cyfan; os bydd un yn dyoddef, byddant oll yn dyoddef; os llawenha un, llawenhant oll; os ennilla un unrhyw addysg, cyfrenir ef i'r lleill oll; os bydd un yn meddwl, mae y lleill oll yn meddwl yn yr un dull: os bydd un yn teimlo, byddant oll yn teimlo; mewn gair, mae undeb y mymrynau hyn mor berffaith, fel nas gall fod cyflwr neu dueddfryd un, a'r nad yw y lleill oll yn uniongyrchol yn cael eu hysbysu am dano, ac fel hyn, trwy gydymdeimlad, maent yn yr un

sefyllfa neu dueddfryd, ac am hyny, maent yn byw, yn symud, yn meddwl, yn gweithredu, megys un bod, er mewn gwirionedd, maent yn fôd y bodau. Mor bell ag mae y sylwedd yn perthynu, y corff ysbrydol sydd liosogrwydd o fodau; mor bell ag y mae y galluoedd neu ansoddau yn dal perthynas, nid yw ond un bôd. Dylem yn naturiol feddwl, fod neillduol fymrynau pa rai a fuont yn ymarferol â gweithredu mewn sefyllfa neillduol, ar y cyntaf, yn ei chael yn anhawdd iawn i weithredu mewn perffaith gytundeb a chydgordiad. Pob neillduol fymryn raid caniatâu, yn y lle cyntaf, i gael ei reoleiddio gyda mymrynau ereill cyffelyb, ac wedi i'r undeb gymmeryd lle, rhaid iddynt ddysgu, trwy brofiad, yr anghenrheidrwydd o fod yn gytunol yn eu holl feddyliau, serchiadau, dymuniadau, teimladau, a gweithrediadau, fel y gallo yr undeb gael ei ddiogelu rhag pob galluoedd gwrthwynebol neu amrysonawl, ac y gallo cyssondeb dreiddio trwy bob lle yn y gyfundraeth reoleiddiedig. Yn awr, i ddysgu hyn oll, rhaid i ddeddf gael ei rhoddi o natur uwch nâ'r rhai hyny gan ba rai yr oeddynt gynt yn cael eu llywodraethu yn eu sefyllfaoedd neillduol fel gwahanol fymrynau. Y ddeddf a'u rheoleiddiai hwynt pan y bodolent allan o'r trefniant, a fyddai yn hollol anaddas i'w cylch newydd o fodoliaeth. Deddfau newyddion sydd yn anghenrheidiol, yn gofyn i bob mymryn nid i weithredu yn mhellach iddo ei hunan, ond i weithredu er daioni a dedwyddwch pob mymryn arall sydd yn yr undeb mawreddog. Pob anufydd-dod i'r ddeddf hon, gan un mymryn neu fymrynau yn y gwreiddiol drefniant, a ddygai o anghenrheidrwydd ei briodol gospedigaeth; ac fel hyn, trwy ddyoddef cospedigaeth y gyfraith, y delent mewn amser i gael eu gwastrodi a'u dyscyblu i gyflawni eu priodol swyddogaethau yn y gyfundraeth ysbrydol. Priodol le yr ysgol ardderchog hon o brawf, sydd yn y byd nefol, lle, o amser eu genedigaeth yn faban ysbrydion, hyd yr amser yr anfonir hwynt i'r byd hwn i gymmeryd pabellau cnawdol, y mymrynau triniedig a addysgir ac a hyfforddir yn yr holl gyfreithiau perthynol idd eu hundeb, hyd oni fyddont wedi eu gwneuthur yn berffaith yn UN yn eu holl alluoedd a'u hansoddau; ond nid yn un mewn sylwedd, o herwydd byddai hyn yn anmhosibl; pob mymryn, er iddo gael ei reoleiddio, a geidw ei hunaniaeth ei hun yn y gyfundraeth. Yr unoliaeth, gan hyny, sydd yn gynnwysedig

yn unig yn yr unrhywiaeth ansoddau pa un a gyrhaeddir trwy oesau o brawf, trwy ymlyniad manwl wrth y cyfreithiau doeth a chall a roddwyd i'w llywodraethu hwynt yn eu hunol sefyllfa.

87. Y mymrynau yn gorffoledig yn maban ysbryd, cyn dysgu o honynt yr anghenrheidrwydd o fod yn berffaith gytunol, a allasent fod wedi dwyn eu hunain i lawer o amgylchiadau anhyfryd, pa rai, trwy berffaith gytundeb, a allasid fod wedi eu gochelyd. Er enghraifft, un ddeddf yr undeb yw, mai pan fyddo rhyw ran o'r cyfangorff trwy anwybodaeth, neu unrhyw ffordd arall, wedi gosod ei hunan mewn amgylchiadau anhyfryd, y rhan arall a gymmera rybydd ac a ymdrecha i ochelyd y cyfryw amgylchiadau. I egluro y ddeddf hon, meddylier pe gosodid y mymrynau a gyfansoddant law ddeheu ysbryd, mewn cyffyrddiad â rhyw ddefnyddiau pa rai a ddygasant fawr boen, y syniad o'r poen hwn a gyfrenir yn uniongyrchol i'r mymrynau a gyfansoddant y llaw aswy, hwynthwy, gan fod yn anmhrofiadol, ni ofalant am y rhybydd caredig, ac anturiant i'r un anhawsdra â'r rhai hyny yn y llaw ddeheu; maent yn awr yn teimlo yn boenus, ac yn dysgu trwy brofiad, neu trwy y pethau a ddyoddefant, eu bod wedi tori un o ddeddfau eu hundeb. Hyn a esyd y mymrynau ar eu gwyliadwriaeth, a dysgant barchu y cyfranogiadau ag y mae unrhyw ran o'r corff yn drosglwyddo i'r llall; dysgant taw yr un peth a rydd boen ar un rhan o'r cyfansoddiad, a rydd boen hefyd ar y mymrynau mewn unrhyw ran arall; ac fel hyn, pan mae ymgyfraniad yn cael ei wneyd o un rhan o'r cyfansoddiad i'r llall, y mymrynau a ymddiriedant yn y dealltwriaeth a drosglwyddir, a gweithredant yn gyfatebol. Yr ymddiried hyn a ennillir trwy brofiad. Y mymrynau a ddysgant trwy brofiad fod troseddu unrhyw gyfraith a roddwyd i'w llywodraethu yn eu hunol sefyllfa, yn dwyn cospedigaeth a thrueni. Trwy brofiad y dysgant weithredu, teimlo, a meddwl yn gyffelyb; trwy brofiad y dysgant garu a chasâu yn gyffelyb. Pa mor annhebyg bynag y gallant fod yn y graddau o wybodaeth a phrofiad pa rai a gasglasant yn flaenorol i'w hundeb, hwynthwy, trwy gael eu gosod yn yr un corffoliad, ydynt yn cael eu hysgoli yn gyffelyb, eu hyfforddi, dyscyblu, a'u haddysgu yn gyffelyb, hyd oni chaiff pob mymryn y wybodaeth a'r profiad sydd gan bob

mymryn arall, ac fel hyn dysgant trwy brofiad i fod yn unol yn mhob peth, ac i weithredu gydag un ewyllys yn eu holl weithrediadau. Gweled y perffaith undeb pa un a fodola yn awr yn mhlith y mymrynau a gyfansoddant ein hysbrydoedd, megys ei hamlygir mewn meddyliau, teimladau, dymuniadau, a gweithrediadau, braidd na feddyliai un taw amlygiadau oedd y rhai hyn o un bôd unigol neu fymryn, yn lle lliosogrwydd o fodau neu fymrynau. Ond ychydig ystyriaeth a gywira yr argraff ffugiol hon, ac a ddengys i ni fod y rhai hyn yn amlygiadau o'r un galluoedd neu ansoddau a breswyliant mewn miliynau o fymrynau, ond yn rhoddi ufydd-dod i'r un deddfau mawrion a ordeiniwyd er llywodraethiad yr undeb ymgorffoledig.

88. Heblaw y deddfau a roddwyd i lywodraethu pob mymryn wrtho ei hun yn ei sefyllfa gorffoledig, mae cyfreithiau ereill wedi eu rhoddi i lywodraethu yr holl gorff. Y rhai hyn drachefn ydynt etto o uwch trefn; o herwydd y cyfreithiau pa rai a reoleiddiant y gwahanol ranau o'r ymgorffoliad er daioni cyffredinol yr undeb, ydynt yn gwbl annigonol i lywodraethu y corff megys cyfan. Er enghraifft, wrth y deddfau a reoleiddiant bob mymryn, daw y cyfan o'r cyfansoddiad yn ddigllawn ar yr un amser, os bodola achos a gyffroa y nwyd hono; ond y mae y ddeddf hon yn annigonol i reoli y nwyd pan y byddo yn gynhyrfiedig. Deddf arall sydd yn ofynol i reoli gweithrediad yr holl gyfansoddiad tra o dan y nwyd. Dan y ddeddf gyntaf nid oes gan un mymryn hawl i fod yn ddigllawn, pan fyddo y llall yn foddus; maent yn rhwym trwy ddeddf i fyned oll yn ddigllawn ar unwaith, neu fod oll yn foddus ar unwaith, fel y gallo fod perffaith gytundeb yn eu teimladau. Dan yr ail neu yr uwch ddeddf, yr holl gorff o fymrynau a ofynir i lywodraethu y nwydau cyffroedig, mewn rhyw ddull, yn gydweddol â'r egwyddorion o gyfiawnder a thrugaredd ag sydd yn bodoli yn mynwes yr un a roddodd y ddeddf. Y corff ysbrydol yn ei fabandod sydd yn hollol anwybodus, ar y cyfan, am natur cyfiawnder a thrugaredd, da a drwg, a'r fath gyffelyb ansoddau; ond gan fod deddfau cyfiawnder a thrugaredd, a da a drwg, wedi eu rhoddi, mae yr holl gorff yn dysgu llywodraethu ei hunan yn ol y deddfau hyny. Troseddiad o un o'r deddfau rhai'n, sydd yn uniongyrchol yn dwyn annedwyddwch—hyny

yw, y bôd a geryddir, yn ol natur y trosedd, a'r cospedigaethau sydd yn gyssylltiedig â'r ddeddf; yn y modd hyn mae y cyfansoddiad yn dysgu, trwy y pethau a ddyoddefa, i ufyddhau i'r ddeddf uchelach hon, pa un sydd yn wahanol iawn oddiwrth y deddfau blaenorol, o dan ba rai y cafodd y mymrynau eu haddysgu. Natur cyfiawnder a thrugaredd, da a drwg, ydynt fel hyn yn cael eu dysgu yn weithredol trwy brofiad. Ufydd-dod i ddeddfau cyfiawnder, a dyoddefaint cospedigaethau anufydd-dod, sydd yn cyfranu, mewn ystod o amser, y syniad o gyfiawnder i'r mymrynau yn eu cyflwr ymgorffoledig: felly ufydd-dod i ddeddfau trugaredd, a'r ceryddon sydd yn deilliaw o doriad y deddfau hyny, yn fuan a hysbysant y mymrynau ymgorffoledig mewn perthynas i natur trugaredd. Yn yr un modd, syniad o dda a drwg, ac o'r holl ansoddau ereill cyffelyb, a gyrhaeddir oddiwrth y mwyniannau sydd yn deillio o ufydd-dod, a'r truenusrwydd a roddir am anufydd-dod, i'r deddfau a roddwyd i lywodraethu yr holl ansoddau a'r nwydau hyny. Yr holl ansoddau rhai'n, gan hyny, a ennillir trwy brofiad. Y cyfreithiau, gan eu bod wedi eu rhoddi ac ymlynu wrthynt, sydd yn dyscyblu, ac yn hyfforddi yr ysbryd mabanaidd neu ieuengaidd yn y wybodaeth o bethau o ba rai yn flaenorol yr oedd yn hollol anwybodus.

89. Megys ag y mae yr holl faban ysbrydion yn cael eu haddysgu dan yr un cyfreithiau, maent oll yn cyrhaedd yr un syniad o gyfiawnder, trugaredd, a da a drwg. O herwydd yr achos hyn, y mae nad yw dau neu ragor o ysbrydion yn ffurfio gwahanol feddylrithiau am natur da a drwg; mor bell ag y maent yn briodol wedi eu hyfforddi a'u dysgu yn yr un gyfraith, ni eilw un dda, yn ddrwg; neu ddrwg, yn dda; ac arall gael gwahanol feddylrith am yr un egwyddorion. Wrth gwrs, fe fydd ysbrydion yn meddiannu gwahanol raddau o ddealltwriaeth, yn ymddibynol ar yr ufydd-dod pa un a roddasant i'r amrywiol gyfundraethau o gyfreithiau o dan ba rai y gweithredasant yn mharhad yr oesoedd tragywyddol a aethant heibio, ac hefyd yn ymddibynol ar feithder yr amser yn mha un y cawsant eu hyfforddi a'u dysgu yn eu hymgorffoliad ysbrydol. Ond mor bell ag y cyrhaeddasant wybodaeth, y mae ef wedi bod trwy gyfrwng yr un cyfreithiau; yn ganlynol, yr un gradd o wybodaeth mewn un, nis gall wahan-

iaethu yn ei natur oddiwrth yr un gradd o wybodaeth mewn arall.

90. Os oedd un dosparth o ysbrydion wedi eu haddysgu o dan gyfundrefn o gyfreithiau pa rai a'u gwobrwyent am wneuthur yr hyn a alwn ni yn ddrwg, ac wedi eu cospi am wneuthur yr hyn a alwn ni yn dda, tra yr oedd ereill wedi eu haddysgu gan gyfreithiau o natur wrthwynebol, byddai gan y ddau ddosparth rhai'n o ysbrydion, pan eu dygid ynghyd, feddylddrychau hollol wrthwynebol mewn perthynas i dda a drwg. Y ffaith fod gan yr ysbrydion, mor bell ag y mae eu gwybodaeth yn cyrhaedd, yr un amgyffredion o barthed i natur cyfiawnder a thrugaredd, da a drwg, rhinwedd a bai—a ddengys yn y modd amlycaf achos am yr unrhywiaeth hwn. Yn awr, yr hyn a flaenorir gan achos, nis gall fod yn dragwyddol; gan hyny, rhaid y bu amser, pan y cyrhaeddwyd yr unrhywiaeth gwybodaeth hyn gan y mymrynau a gyfansoddent bob corff ysbrydol. Y galluoedd er dirnad y wybodaeth hon ydynt dragywyddol; ond yr ymarferiad â'r galluoedd tragywyddol rhai'n yn nghyrhaeddiad gwybodaeth o gyfreithiau da a drwg, oedd a dechreuad iddo. Nis gallwn ni amgyffred am filiynau o fodau a chanddynt yr un meddylddrych am natur da a drwg, heb ddwyn i mewn achos i gyfrif am yr unrhywiaeth a'r tebygoliaeth hyn; ac y mae achos bob amser yn cynnwys dechreuad i'r effeithiau pa rai sydd yn canlyn. Ond os yw miliynau o fodau yn meddiannu yn dragywyddol yr un meddylddrych am natur da a drwg, pob achos am yr unrhywiaeth hwn o feddylddrych a wrthodid: meddiannent yr unrhywiaeth hyn trwy ddamwain: pe buasai yn dragywyddol, yna ni fuasai un rheswm paham y cawsai hyd y nod ddau fôd yr un golygiadau mewn perthynas i unrhyw beth: ond pan mae miliynau dirifedi o fodau yn ganfyddedig o fod ganddynt yr un meddylddrychau gyda golwg ar natur gwahanol weithredoedd, gan alw un rhywiogaethau o weithredoedd yn dda, ac ereill yn ddrwg, arddengys, yn y modd mwyaf diammheuol, nad oedd y bodau rhai'n yn meddu y meddylddrychau hyn yn dragywyddol, ond eu bod wedi eu cyrhaeddyd hwynt oddiwrth yr achos cyffredinol, galluoedd tragywyddol pa rai a addysgwyd ac a eangwyd yn yr un ysgol o ddeddfau, fel y gallasai yr un meddylddrychau, yr un golygiadau, a'r un wybodaeth, dreiddio

yr oll, mor bell ag yr addysgir hwynt. Yr unrhywiaeth hyn o feddylddrychau a'u galluoga hwynt i weithredu yn gynghaneddol, nid yn unig er llesiant unigol eu hunain, ond er llesiant yr holl gyfundeb neu deulu o ysbrydion gyda pha rai mae pob un yn cymdeithasu.

91. Tra yr ydym yn rhwymedig i ganiatâu tragywyddolrwydd defnydd a'i alluoedd, ar y llaw arall, cymhellir ni i ganiatâu dechreuad i wreiddiol drefniant temigau y defnydd hwn; rhaid hefyd y bu amser pan ddechreuodd y galluoedd tragywyddol wybod da a drwg, cyfiawnder a thrugaredd, cariad a dygasedd; o herwydd yr unrhywiaeth ansoddau hyn, sydd yn bodoli yn meddyliau holl ddynolryw, a ddengys y rhaid eu bod yn ansoddau deilliedig, ac am hyny nas gallasent fod wedi eu meddiannu yn dragywyddol. Rhaid i bawb ar unwaith weled, mai y mynydyn y caniateir fod defnydd neu beth yn dragywyddol, pob achosion dros natur, neillduolrwydd, neu unrhywiaeth ansawdd, a phob achosion dros faintioli neillduol neu ffurf peth neu fôd, ydynt yn gwbl wrthodedig. Mewn golygiad am yr hyn sydd dragywyddol, ni fyddai genym un hawl i ofyn cwestiynau, Paham y mae felly? Paham y mae yn meddu y fath ansawdd? Paham y mae ganddo faintiolaeth benodol? Paham y bodola mewn dull penodol? Pob gofyniadau o'r fath a gynnwys achos, ac am hyny, ddechreuad. Pe caniataem fod dwfr yn dragywyddol, yna byddai yn hollol anghysson i ofyn y cwestiwn, Paham mae un diferyn o ddwfr pur yn meddiannu yn hollol yr un ansoddau ag un arall. Os oedd y ddau ddiferyn yn dragywyddol, ni fyddai, mewn gwirionedd, un achos am un bôd o'r un natur â'r llall. Gan na fyddai un achos am unrhyw ddau ddiferyn, allan o rifedi anfeidrol, fod yn gyffelyb, ni fyddai genym un rheswm i gasglu, yn flaenorol i brawf, y byddent o gyffelyb flâs, neu ddiffoddi tân yn gyffelyb, neu y gwnelai diferynau o'r un faintioli bwyso yn gyffelyb, neu y gwnelent dori syched yn gyffelyb, neu y gwnelent amlygu unrhyw ansoddau ereill yn gyffelyb. Os, ar ymchwiliad y defnynau, y caem hwynt yn meddiannu ansoddau cyffelyb, ymofynem yn naturiol, Pa fodd y daethant i fod yn gyffelyb? Yr ateb naturiol fyddai, eu bod wedi eu bwriadu i fod yn gyffelyb, i ddybenion llesol y bydyssawd. Ond os y bwriadwyd hwynt i fod yn gyffelyb, rhaid y bu cyfnod o flaen y bwriad

hwnw, a chyn eu bod yn gyffelyb, ac yn ganlynol eu hansoddau presennol nid ydynt dragywyddol, ond yn gyrhaeddiedig neu ddeilliedig o ryw ansoddau blaenorol. Felly mae mewn perthynas i ansoddau y meddwl dynol. Y ffaith bendant fod pob meddwl dynol yn edrych ar ryw weithredoedd yn dda, a rhyw weithredoedd ereill yn ddrwg, a ddengys fod ansoddau y meddwl mewn llawer o olygiadau yn hollol gyffelyb. Os oeddynt yn dragywyddol, yna ni fyddai un achos am unrhyw ddau, allan o holl ddynolryw, a chanddynt unrhyw ansoddau cyffelyb: ac ni fyddai un dyn yn alluog i gasglu, cyn prawf, fod neb o'r lleill o ddynolryw, wedi meddiannu ansoddau oll yn debyg i'r eiddo ei hun. Pe buasai yr ansoddau yn dragywyddol, nis gallasai gyda phriodoldeb ofyn y cwestiwn, Paham mae dyn yn meddiannu ansoddau uwch nâ'r anifel? Neu, Paham y mae cyfansoddiad meddyliau dynol yn tebygoli y naill i'r llall. Ond dyn sydd yn cael trwy brofiad fod tebygolrwydd neu gyffelybrwydd yn nghyfansoddiad pob meddwl dynol, ac y mae yn naturiol yn gofyn y cwestiwn, Pa beth yw yr achos o'r tebygrwydd hyn? Daw yr ateb yn naturiol i'w feddwl ei hun, taw fel hyn ei bwriadwyd er daioni cyffredinol dyn; ac o ganlyniad rhaid y bu amser cyn i'r bwriad gymmeryd effaith, pan oedd cyfansoddiadau ein meddyliau yn annhebyg, ac, am hyny, nad yw ansoddau presennol ein meddyliau yn dragywyddol, ond yn ganlyniadau cyd-gymmysgedd ansoddau blaenorol, pa rai yn eu tro, ydynt drachefn yn ganlyniadau tragywyddol alluoedd.

*(I'w barhau.)* *Cyf.* D. E. JONES.

---

## I'R CYHUDDWR.

CYHUDDYDD, bradydd brodyr,—a llobyn
Enllibaidd mewn gwewyr,
Yw un a wêl uniawn wyr,
Drwy eu swyddau 'n droseddwyr.

Un o anian wenwynig,—er cynhwrf,
Yw'r cenaw mileinig;
Ffaeleddau, beiau a big
O'i frodyr yn frwdfrydig.

Hwn yw'r gwr hanner geiriog,—a'i siarad
Ansiriol yn bigog;
Baldorddwr, cleciwr îs clog,
Annoeth yw hwn, a thaiog.

Melldith, nid bendith, sy'n bod—i'w galon,
Mewn dirgelwch hynod;
Hwn, os clyw am un is clod,
A'i beichia'n llawn o bechod.

*Cap Coch.* JOSEPH P. PROSSER.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

YR AMRYSON INDIAIDD.—Mae Llywodraethwr Utah wedi gyru allan ei *broclamation* ynghylch yr Indiaid, a rhybyddia bawb i beidio eu diwallu ag arfau, na dim arall er eu hwylysu mewn un modd. Gellir ei weled yn "Star," Rhif. 46, lle y mae hefyd hanes am ymosodiad dirgelaidd ar bedwar o'r Saint, trwy ba un y collodd dau o honynt eu bywydau. Ni chymmerodd dim neillduol arall le, er pan nodasom am yr amrafael o'r blaen. Sonir am adeiladu mur oddiamgylch Dinas y Llyn Halen, a ffos y tu allan. Ei ddefnydd fydd y llaid a godir o'r ffos, wedi ei gymmysgu â gwellt, neu wair, a graian, gan roi iddo amser i sychu wrth ei godi. Dyna y defnyddiau rhataf a mwyaf parhaus a ellir gael.

Y GENADIAETH SCANDINAVAIDD.—Hysbysir mewn llythyr oddiwrth yr Henuriad John Van Cott, dyddiedig Copenhagen, Hyd. 20, 1853, fod y gwaith yn llwyddo yno yn rhyfeddol. Yr oedd 975 wedi eu bedyddio yn y chwe mis diweddaf, ac argoelion da yn gyffredinol am gymmaint o Saint yno ag yn yr Ynysoedd Prydeinig, ond cael amser. Mae cylchrediad y "Stierne" wedi cynnyddu yn fawr, a galwad am draethodau: hefyd y mae argraffiad newydd o Hymnau yn y wasg.

GELLWCH ganfod eich marwoldeb eich hunain yn marwolaethau dynion ereill; a'ch gwendid eich hunain yn eu pechodau hwynt.

---

TALIADAU O TACH. 4 HYD TACH. 10.—Gorllewin Morganwg, £4 10s; Sir Aberteifi, £3 7s; Liverpool, £2; Dinas, 10s; Georgetown, 5s 2c; Troedyrhiw, 3s.—Cyfanswm, £10 15s 2c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

／
# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 21.] TACHWEDD 19, 1853. [CYF. VI.

### LLYTHYR SANT AT EI BERTHYNAS.

ANWYL GAR,—Y mae genyf i gydnabod derbyniad eich llythyr, ac i hysbysu i chwi fy llawenydd i glywed eich bod oll yn mwynhau iechyd, fel ag yr ydym ninnau yma. Yr wyf yn caru yr ysbryd chwilio sydd yn eich llythyr, a'ch bod yn myned dros gymmaint o'r ysgrythyr i geisio egluro eich pwnc. Ewyllysiwn yn fawr i wneyd sylwadau ar gynnwysiad eich llythyr i gyd; ond yr wyf yn gweled y buasai raid i mi ysgrifenu llyfryn mawr cyn gallael gwneyd hyny. Gan hyny, ymdrechaf wneyd ychydig sylwadau ar ryw bethau sydd yn teilyngu fwyaf o sylw.

Yr ydych yn dwyn Paul yn mlaen i brofi na ddylai fod mwy nag un bedydd—"Un ffydd, un bedydd;" yr wyf fi yn cytuno yn hollol â Phaul; un bedydd *iawn* sydd eisieu. Os na fydd rhywun wedi ei fedyddio yn iawn, yr ydym ni yn ei fedyddio eilwaith. Felly y gwnai Paul hefyd (gwel Act. xix). Yr oedd y deuddeg dyscybl a grybwyllir yna wedi cael eu bedyddio o'r blaen, ac, meddynt hwy, "i fedydd Ioan." Ond pe buasai Ioan wedi eu bedyddio, buasent yn gwybod ynghylch yr Ysbryd Glân, canys tystiolaethai efe am hwnw. (Math. iii, 11.) Yr oeddynt wedi cael eu bedyddio, ynte, gan ryw un o'i ddyscyblion—rhywun heb feddu awdurdod. A phan ddeallasant hyn, cymmerasant eu bedyddio gan Paul eilwaith. Chwi welwch wrth hyn, na wna un bedydd y tro, bydded ei ddull a'i ddeiliaid yn iawn ai peidio, os na fydd wedi ei weinyddu gan

rywun ag awdurdod. Os mai y commisiwn yn Mathew yw yr awdurdod, gall pob dyn fedyddio, os myn. Yr oeddwn i wedi ufyddhau i'r bedydd blaenaf am na wyddwn yn well. Meddyliwn y pryd hyny ei fod yn iawn

Ynghylch y rhai a fuont yn proffesu crefydd o flaen y Mormoniaid, nid y'm ni yn eu condemnio; cânt oll eu barnu yn gyfiawn, yn ol eu manteision a'u gweithredoedd.—Os gellwch chwi ddangos rhyw enwad crefyddol yn olynwyr cywir i'r apostolion, gallwn farnu fod gan y cyfryw awdurdod i weinyddu yr holl ordinhadau, a chan eu hufyddion hawl yn yr un breintiau â'r rhai apostolaidd. Ond nid oes un enwad yn hòni hyny ond y Pabyddion. Yn y llywodraeth, nis gall neb gymmeryd arno ei fod yn swyddog; eithr rhaid iddo gael ei benodi i'r swydd gan rywrai mewn awdurdod. Ai tybied fod teyrnas Dduw yn fwy annhrefnus nâ theyrnasoedd daearol. Na ato Duw. A roddodd y Pabyddion awdurdod (os oedd ganddynt awdurdod) i'r Eglwyswyr, pan ddarfu iddynt ymranu? ac a roddodd yr Eglwyswyr awdurdod (os oedd hyny ganddynt) i'r enwadau a ymneillduasant oddiwrthynt? Nid yw yn debyg, canys ni roddir awdurdod gydag ysgymundod. Yr oedd yn rhaid cael awdurdod neillduol i weinyddu yn yr oes apostolaidd, fel y profwyd eisoes ynghylch bedydd; gellir profi hefyd nad oedd hawl gan Phillip i arddodi dwylaw ar yr eunuch a'r Samariaid er derbyn yr Ysbryd: ei waith ef oedd bedyddio a phregethu; ond gallai yr apostolion, ac ereill hefyd, megys Ananias (gwel troedigaeth Paul) gyflawni y llall; felly, y mae yn rhaid cael awdurdod hefyd yn yr oes hon.

Pe buasai rhai o'r enwadau crefyddol yn iawn, cawsent yr un bendithion ag a addawodd Duw (gwel Act. ii, 38, 39; 1 Cor. xii), canys y mae llawer o honynt mor onest yn mhob peth ag ydyw llawer o'r Saint. Beth yw yr achos, ynte? Am eu bod yn efengylau ereill. Am mai "rhith duwioldeb sydd ganddynt, eithr wedi gwadu ei grym hi" (2 Tim. iii, 5). Am eu bod yn "dysgu bob amser, ac heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd." Pwy sydd yn gwadu "grym crefydd?" Ai y rhai sydd yn credu yn mhob peth fel yr Apostol—yn credu yn y gwyrthiau a'r holl ddoniau? neu y rhai sydd yn gwadu llawer o'r pethau a gredai yr Apostol, ac a ysgrifenodd er ein lles ni? Pwy sydd yn "dysgu bob amser," ac yn methu cytuno â'u

gilydd? Pwy sydd yn erfyn Ysbryd Duw i weinyddu ordinhadau Duw yn hollol groes i'w gilydd? Yr enwadau crefyddol, nid y Saint. "Am hyny y rhoddes Duw hwynt i fyny i amryfusedd cadarn, fel y credont gelwydd." Ai y cyfryw sydd yn dilyn yr Apostol yn *mhob peth* sydd yn cael eu rhoi fyny? Nage, os dilynant ef, a chadw y pethau a ysgrifenodd efe.

"*A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a* GREDANT" (Marc xvi, 17, 18). Bydd i ni gredu celwydd, os na chredwn hyna. Dywedodd Crist os gellid credu, y gellid peri i fynyddoedd symud. A gredwn ni hyny? Mae y ddaear a'r nef i fyned heibio, cyn yr elo ei eiriau ef yn ddirym. "Pob peth all fod i'r neb a gredo" etto. Nid er i ni brofi gwirionedd y grefydd Gristionogol yr oedd y doniau ysbrydol, &c., ond i adeiladu y Saint (gwel 1 Cor. xiv, 2—5, 12). "Rhai yn wir a osododd Duw yn yr *eglwys*; yn gyntaf apostolion, yn ail prophwydi, yn drydydd *athrawon*, yna gwyrthiau; wedi hyny doniau i iachâu, cynnorthwyau, llywodraethau, rhywiogaethau tafodau" (1 Cor. xii, 28). Chwi gyfaddefwch fod eisieu athrawon yn awr; paham nad oes eisieu y pethau ereill hefyd? Y mae eisieu apostolion yn awr i edrych ar ol yr eglwys, yr un fath â chynt. A ydyw llygaid yn mabandod dyn yn cyflawni ei holl eisieu mewn henaint, yn ei ieuengtyd, fel na fydd eu hanghen wedy'n. Ai nid oes anghen yr holl aelodau yn y corff dynol i barhau tra byddo eu heisieu. Felly corff Crist hefyd, yr hwn yw ei *eglwys*. Os oes eisieu yr aelod o "athrawon" yn awr, y mae eisieu yr aelodau o "brophwydi" a "gwyrthiau," "doniau i iachâu," "rhywiogaethau tafodau," &c., hefyd. Y mae cariad i barhau *byth*, ond prophwydoliaethau a thafodau a beidiant *rywbryd*, sef y pryd "pan ddelo yr hyn sydd berffaith," ac y bydd i'r "hyn sydd o ran gael ei ddileu," canys "o ran" yr ydym yn *gwybod* ac yn *prophwydo*. "Canys (medd yr apostol) gweled yr ydym yr awrhon trwy ddrych, mewn dammeg: ond *yna* wyneb yn wyneb; yn *awr* yr adwaen o ran; ond *yna* yr adnabyddaf megys y'm hadwaenir." Yn awr, ai y Testament Newydd, mewn difrif, yw "yr hyn sydd berffaith?" Ai nyni sydd yn gweled *wyneb yn wyneb*, a'r apostol, sef yr hwn a fu yn y nef, yn gweled yn unig mewn *drych* neu *ddammeg!!* *Nyni* yn gweled yn well nâ'r *hwn* a ysgrifenodd gyfran fawr o'r Testament! Yr oedd Paul ei hun i ddyfod i weled yn well nâ'r pryd hyn, canys

y mae yn siarad am ei hun hefyd. Attolwg, pa bryd y daeth? Ai wedi iddo ysgrifenu yr hyn oedd yn ei weled o'r blaen? "Ond *yna* (medd Paul am dano ei hun) yr adnabyddaf megys y'm hadwaenir." Pa bryd y mae yr "*yna*" i fod? Mae Paul i fod yn berffaith yr amser hyny, cofiwch. Ni welodd efe y Testament Newydd yn cael ei gasglu ynghyd. Dywed Paul mewn man arall—"Yr udgorn a gân, a'r meirw a gyfodir yn anllygredig, a ninnau (sef y saint) a *newidir*." Dyma yr amser ynte; hyd yr amser hyn y mae y doniau i barhau. (Gwel Heb. xi, 40.)

Yr ydych yn crybwyll hyn ar ddiwedd eich llythyr, sef, "Eithr pe byddai i ni, *neu i angel o'r nef*, efengylu i chwi *amgen* nâ'r hyn a *efengylasom i chwi*, bydded anathema." Y mae hyn yn dangos fod pob un a bregetha yn groes i'r hyn a bregethodd Paul, yn sicr o gyfeiliorni. Nid yw y Saint yn pregethu ond yr hyn a bregethwyd gan Paul a'r apostolion ereill, ac nid ydynt hwy "yn chwennych *dattroi* efengyl Crist" (Gal. i, 7); maent yn addaw ac yn pregethu yr un pethau â'r apostolion; maent yn arddodi dwylaw fel hwy er derbyn yr Ysbryd Glân; ac os bydd rhywun yn glaf, mae yn ddyledswydd arno i alw ato henuriaid yr eglwys fel cynt.—Yr unig beth a ddygir yn erbyn y Saint yw, am eu bod yn adrodd yr un geiriau â'r apostolion. —Cewch glywed oddiwrthyf etto efallai yn helaethach.

---

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 316.]

Wedi sefydlu y ffaith, y caiff cenedlaethau eu parhau yn nhragywyddoldeb, nid oes genym un rheswm dros ddychymmygu y bydd iddynt byth beidio. Os gall bodau anfarwol liosogi o gwbl, perffaith resymol ydyw y bydd i'r unrhyw allu yma barhau gyda hwynt fydoedd annherfynol. Dichon i rai, efallai, wrthddadlu yn erbyn bydoedd a chenedlaethau dilynol, ar y dybiaeth na fydd yna faintiolaeth digonol o ddefnydd mewn boboliaeth at y fath ddyben. Byddai yr wrthddadl hon yn safadwy pe gellid profi nad oes yna ond maint terfynol o ddefnyddiau; oblegid mewn amgylchiad o'r fath, buasai yn ddichonadwy y dygwyddai cyfnod pryd y caffai yr holl faint-

iolaeth ei dihysbyddu, a chynnydd bydoedd a bodau dealltwriaethol ymattal o anghenrheidrwydd: oblegid nis gallwn, am un fynyd, ganiatau y gallai defnyddiau eu hunain gael eu creu. Mae digon o le mewn eangder diderfyniad i faintiolaeth diddiwedd o ddefnyddiau. Nid yw o bwys pa mor deneu y dichon fod gwasgariad yr elfenau, er pe byddai miliynau o filltiroedd yn cyfryngu rhwng pob mymryn; etto os na fyddai terfynau i'r defnydd eang gwasgarog hwn, byddai y maintiolaeth yn ddiddiwedd; ac os yn ddiddiwedd, gallai fod yno ddilyniad diddiwedd o fydoedd yn cael eu hymgorffoli allan o hono, heb un modd ei ddihysbyddu. Nis gall na rheswm na sylwad benderfynu y maintiolaeth; oblegid fel na chreodd Duw yr elfenau, y maent o anghenrheidrwydd yn dragywyddol, ac am hyny yn bodoli heb achos. Nid oes unrhyw achos i'r maintiolaeth sydd yn bodoli. Yn wir, nid oes un rheswm paham y cynnwys yr eangder unrhyw sylwedd pa bynag: llawer llai y ceir un rheswm paham y cynnwys yr eangder faintioli mawr yn lle bychan, a diderfynau yn lle terfynol ddefnydd.

Y fod yna faintioli diderfyn o ddefnydd yn yr eangder sydd sicr, oddiwrth y ffaith ddadguddiedig nad oes un diwedd i gynnydd llywodraeth neu deyrnasoedd Crist; mewn trefn i'r cynnydd fod yn ddiddiwedd, rhaid ydyw i faintiolaeth y defnyddiau y ffurfir y teyrnasoedd hyn allan o honynt fod yn anhysbyddadwy. Gan hyny, nis gellir codi gwrthddadl yn erbyn cynnydd annherfynol bydoedd a bodau byw, yn herwydd eisieu digon o sylwedd.

Bydd y serch a fodola yn mynwes rhieni at eu heppil, yn llawer mwy yn mysg bodau anfarwol a nefol nag a ydyw yma yn y byd hwn; o ganlyniad, gwyliant drostynt gyda'r teimladau tyneraf; ac ordeiniant gyfreithiau a rheolau er eu llywodraeth, cyfaddas i'w galluoedd a'u hanghenion: a phan y creont fyd newydd ac anfon eu hanwyl blant i dderbyn ar y cyfryw gyrff o gnawd ac esgyrn, ni fydd i'w serch atynt gael ei leihau yn y radd leiaf; byddant o hyd mor bryderus am eu hawddfyd a'u dedwyddwch â phan y preswylient yn eu gwyddfod.

Bydd y rhai hyny yn mysg eu heppil, a anfonir i boblogi bydoedd newyddion, ac a ufyddhaont gyfraith cyfiawnder, yn fwy uchel eu cymmeradwyaeth nâ'r gwrthryfelgar. Y cyfiawnion yn eu mysg a ymddiriedir gyda gofal-wylio a noddi plant eu

rhieni gwynfydol neu nefolaidd. Hyn yw un rheswm mawr paham y dewisodd yr Arglwydd y cyfiawnion yn y byd hwn i godi hâd iddo Ef, trwy y sefydliad dwyfol o briodas. Rhaid mai amlwg i bawb, pan yr enfyn Duw ei blant ei hun o'r nefoedd i gael eu geni i'r byd hwn, y rhaid mai mwy boddhaol iddo Ef ydyw iddynt gael derbyn tabernaclau yn mysg y cyfiawnion, nag yn mysg y drygionus. Hyn yw un rheswm paham y sefydlodd Ef aml-wreigiaeth yn mysg y cyfiawnion, gael i'r ysbrydoedd ardderchog a phur hyny, a breswyliant yn mhresennoldeb Duw, allu dyfod allan i'r byd, trwy y cyfiawnion, a'u haddysgu yn nghyfraith cyfiawnder. Pan anfono Duw yr ysbrydoedd hyn allan, a'u hymddiried i ofal y cyfiawnion, y mae golwg o'u dychweliad drachefn i fwynhau cyflawnder o'i ogoniant. Ond pan y genir yr ysbrydoedd o'r nef yn mysg y drygionus, y golwg yw, y llygrir hwynt gan orchymynion a siamplau drwg eu tadau, ac felly yn ddiffygiol o'u parotoi i ddychwelyd i fynwes eu Tad yn y nef. Mae Tad yr ysbrydoedd hyn, trwy y cariad sydd ganddo atynt, yn cael ei foddhau yn fawr pan y gallo ganfod dyn cyfiawn, i'r hwn y gall ddiogel ymddiried nifer mawr o wragedd, a'i wneuthur yn dad llawer o blant, a thrwy y moddion hyn eu hachub, a'u dwyn i'w cartref cyntefig drachefn.

Pe byddai yn anghenrheidiol i rieni a breswyliant yn yr Unol Daleithiau, i anfon allan eu cariadus eppiledd at ryw genedl bell, i aros yno am lawer o flynyddoedd, cyn y caniateid iddynt ddychwelyd, mor fawr fyddai eu pryder am eu lleoli o dan nodded eu cyfeillion, yn lle eu gelynion. Ai ni theimlai rhieni y dymuniad mwyaf aiddgar am fod i'w plant gael eu lleoli o dan ofal-wyliadwriaeth eu cyfeillion anwyl eu hunain, y rhai a'u dysgent i garu ac i barchu annogaeth a chynghor eu rhieni? Ai ni ddewisent hwy yn fwy o lawer ymddiried un cant o'u plant i nodded cyfaill calon-garedig a doeth, nag un i elyn? Etyb pawb, gydag un cydsyniad, *Gwnaent.* Os gan hyny y teimlai rhieni daearol y fath ofal mawr am hawddfyd eu plant absennol, pa faint mwy a raid fod awyddfryd Tad yr ysbrydoedd, am hawddfyd ei eppil anwylaidd ei hunan, pan yr anfono hwynt oddicartref i fyd pellenig, i'w hymddiried i ofal rhieni daearol. Pa beth a raid fod ei deimladau Ef pan fyddo y rhieni daearol hyny yn elynion iddo? Pan y byddo iddynt,

trwy eu dylanwad drygionus eu hunain, ddinystrio yr ysbrydoedd pur a diniwed hyny a ymddiriedwyd i'w cadwraeth! Nid rhyfedd, gan hyny, ddarfod i Dad yr ysbrydoedd orchymyn i'w gyfeillion briodi amledd o wragedd, gael i'r tlysion gwerthfawr hyny o'r nefoedd gael eu haddysgu yn nghyfraith cyfiawnder, ac mewn amser cyfaddas ddychwelyd yn ddiogel i fynwes eu rhieni nefolaidd. Yn lle collfarnu ei gyfeillion o herwydd fod ganddynt nifer fawr o wragedd a phlant, Efe a'i bendithia hwynt, ac a lawenha drostynt hwy oblegid eu cyfiawnder.

Yn mysg yr holl ddyledswyddau sydd yn disgyn ar farwol ddyn, nid oes un o fwy pwysigrwydd nâ'r un hono o briodi mewn cyfiawnder. Ystyriodd yr Arglwydd y sefydliad hwn o'r fath ganlyniad, fel yr ordeiniodd Ef awdurdod ag sydd ganddi y gallu i benderfynu y nifer o wragedd a ddichon dyn cyfiawn eu cael. Nid oes sefyllfa mewn bywyd, pa mor uchel neu atebol bynag, a all eithrio y cyfiawn oddiwrth appelio at yr awdurdod hon. Er fod Joash, brenin Israel, yn ddyn da, etto nid oedd ganddo hawl i gymmeryd lliosogrwydd o wragedd, heb gydsyniad yr awdurdod a ordeiniodd Duw: am hyny, darllenwn i Jehoiada, yr offeiriad, "gymmeryd iddo ddwy wraig, ac efe a genedlodd feibion a merched" (2 Chron. xxiv, 3). Y gwnaeth Joash yn iawn trwy dderbyn y gwragedd hyn sydd amlwg oddiwrth yr adnod flaenorol: "A Joash a wnaeth yr hyn oedd uniawn yn ngolwg yr Arglwydd, holl ddyddiau Jehoiada yr offeiriad" (adn. 2). Dengys holl hanes Jehoiada ei fod yntau yn ddyn Duw, a chaniatäwyd iddo fyw un cant a deg ar hugain o flynyddoedd; a phan y bu farw, "hwy a'i claddasant ef yn ninas Dafydd, yn mhlith y breninoedd, o herwydd iddo wneuthur daioni yn Israel, tuag at Dduw, a thuag at ei dŷ" (adnodau 15, 16). Prawf y brawddegau hyn y rhoddwyd lliosogrwydd gwragedd i'r dyn da hwn trwy awdurdod y nef. Y tro cyntaf y bu i Hosea gael gair yr Arglwydd, yr oedd hyny ynghylch iddo briodi. Darllena y frawddeg fel hyn: "Dechreuad gair yr Arglwydd trwy Hosea. A dywedodd yr Arglwydd wrth Hosea, Dos, cymmer i ti wraig o odineb" (Hosea i, 2). Mewn ufydd-dod i air Duw, Hosea "a aeth ac a gymmerodd Gomer, merch Diblaim" (adn. 3). A phan yr ymddugodd y wraig hon i Hosea ddau fab a merch, gorchymynodd yr Arglwydd ef i fyned a chymmeryd gwraig arall—un odineb-

us. (iii.) Yma, gan hyny, ceir y prawf mwyaf cadarnhäol i Dduw orchymyn i brophwyd santaidd gymmeryd lliosogrwydd o wragedd. Pe buasai i ddechreuad gair yr Arglwydd at Joseph Smith, i ofyn iddo ef wneuthur yr un fath ag y gwnaeth Hosea, pwy a gredasai yn nwyfoldeb ei genadwri?

Mae gan Dduw yr hawl fwyaf ddiammheuol i orchymyn ei weision mewn perthynas i'w goruchwylion teuluaidd; a pha beth bynag a archo Efe sydd uniawn. Llawer sydd o bethau a fyddent bechadurus yn ngolwg Duw, pe caffent eu cyflawni neu eu harferyd heb orchymyn. Gwaharddodd yr Arglwydd yn nyddiau Noah i ddyn dywallt gwaed ei gyd-ddyn; er hyny gorchymynodd yr Arglwydd i Abraham offrymu Isaac, a chyfiawnhawyd Abraham mewn cynnyg ar dywallt ei waed. Condemniasid Hosea am briodi dwy fenyw ddrygionus, pe na fuasai i'r Arglwydd orchymyn iddo ei wneuthur. Pan y gwnelo prophwyd neu was i Dduw fel ei gorchymynwyd, cyfiawnheir ef, pa mor wrthwynebol bynag a ddichon hyny fod i orchymynion blaenorol. Os oes gan Dduw hawl i orchymyn i'w weision Ef wneuthur yn hollol wrthwynebol i'r hyn a orchymynodd yn flaenorol, sicr ydyw fod ganddo hawl i erchi iddynt gymmeryd lliosogrwydd o wragedd, yr hyn nid yw mewn un dull yn treisio unrhyw orchymyn blaenorol.

Byddai weithiau yn yr hen amseroedd, fod gwr yn caru rhai o'i wragedd yn fwy nâ'r lleill, ond rhoddodd yr Arglwydd gyfraith i reoleiddio rhoddiad yr etifeddiaeth i'r plant, mewn trefn i attal pob pleidgarwch a allasai godi oddiwrth y fath achos. Mae yn darllen fel hyn: "Pan fyddo i wr ddwy o wragedd, un yn gu, ac un yn gâs; a phlanta o'r gu a'r gâs feibion iddo ef, a bod y mab cyntaf-anedig o'r un gâs, yna bydded yn y dydd y rhano efe ei etifeddiaeth rhwng ei feibion y rhai a fyddant iddo, na ddichon efe wneuthur yn gyntaf-anedig fab y gu o flaen mab y gâs, yr hwn sydd gyntaf-anedig: ond mab y gâs yr hwn sydd gyntaf-anedig a gydnebydd efe, gan roddi iddo ef y gyfran ddeublyg o'r hyn oll a gaffer yn eiddo ef: o achos hwn yw dechreuad ei nerth ef; iddo y bydd braint y cyntaf-anedig" (Deut. xxi, 15, 16, 17). Mewn gwneuthur y ddarpariaeth hon at sicrhau etifeddiaeth y cyntaf-anedig, nid oes yna grybwyll un math o anghymmeradwyaeth yn erbyn yr arferiad o liosogrwydd gwragedd, eithr yn y gwrthwyneb, ystyrir plant

pob gwraig yn berffaith gyfreithlawn, a chanddynt hawl i ranau cyfartal o'r eiddo, yn yr un dull â phe buasent blant i un wraig.

Nis gallwn deimlo yn iawn ddibenu yr erthygl hwn ar y testun o briodas, heb ddywedyd ychydig eiriau wrth y mynywod hyny yn yr Eglwys hon nad ydynt wedi priodi. Chwi a ganfyddwch yn eglur, oddiwrth y dadguddiad a roddodd Duw, na ellwch byth gyrhaedd cyflawnder gogoniant, heb eich priodi i ddyn cyfiawn am amser ac am bob tragywyddoldeb. Os priodwch ddyn nad yw yn derbyn yr Efengyl, yr ydych yn gosod sylfaen i ofid yn y byd hwn, heblaw colli y fraint o fwynhau cymdeithas gwr yn nhragywyddoldeb. Yr ydych yn fforffetu eich hawl i gynnydd diddiwedd bywydau anfarwol. Ac hyd y nod y plant a ddichon eich cynnysgaethu â hwynt yn y bywyd hwn, nis ymddiriedir hwynt i'ch cadwraeth chwi yn nhragywyddoldeb; ond chwi a adewir yn y byd hwnw, heb wr, heb deulu, heb deyrnas—heb unrhyw foddion i eangu eich hunain, yn ddarostyngedig i'r tywysogaethau a'r galluoedd a gyfrifir yn deilwng o deuluoedd, a theyrnasoedd, a gorsedd-feinciau, a chynnydd arglwyddiaethau am byth bythoedd. Iddynt hwy y byddwch weinidogion ac angylion—hyny yw, a darparu fod eich ymddygiad y fath ag i sicrhau y mesur hwn o ogoniant. A all mai posibl y bydd i unrhyw fenywod, wedi gwybod y pethau hyn, oddef eu hunain i gadw cyfeillach gyda phersonau allan o'r eglwys hon? Nid yw o bwys pa mor fawr y dichon moesoldeb y fath bersonau fod, na pha mor garedig y dichon iddynt fod tuag atoch chwi, nid ydynt gyfrifedig gyda phobl Dduw; nid ydynt yn ffordd iachawdwriaeth; nis gallant achub eu hunain na'u teuluoedd; ac ar ol yr hyn a ddadguddiodd Duw ar y testun hwn, nis gellir eich cyfiawnhau, am un eiliad, mewn cadw eu cyfeillach. Byddai yn annherfynol well i chwi oddef tlodi a thrallodion gyda phobl Dduw, nâ lleoli eich hunain o dan allu y rhai hyny na chofleidiant wirioneddau mawrion y nef. Trwy briodi anghredadyn, yr ydych yn lleoli eich hunain mewn anufydd-dod agored i'r gorchymyn o eiddo Duw, sydd yn gofyn i'w bobl Ef i ymgasglu ynghyd. A ydych chwi yn dysgwyl cael eich achub mewn trais uniongyrchol i orchymynion y nef? Os na, ymgedwch yn hollol a chyfangwbl o gyfeillach anghredinwyr. A ydych yn ewyllysio cymdeithas y

Saint? Os ydych, na fydded i chwi un gymdeithas ag anghredinwyr. Oblegid ar ol y goleuni mawr a roddodd ein Tad yn y nef, ni fydd gan neb o'r Saint unrhyw ymddiried yn eich gonestrwydd neu ddidwylledd, os teflwch eich hunain ymaith yn ddibris, a throi ymaith bob gobeithiadau am eich dyrchafiad dyfodol. Ni fydd i un fenyw, a chanddi barch i waith Duw, neu barch i'w chymmeriad rhagllaw yn mysg ei bobl Ef, gymdeithasu neu gadw cyfeillach gyda neb ond Saint.

*(I'w barhau.)*

*Cyf.* Robyn Ddu.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 323.]

92. *Yn drydydd.* Wedi olrhain natur a tharddiad galluoedd dyn, ymofynwn yn nesaf i helaethder y galluoedd hyny. Tybir braidd yn gyffredinol fod galluoedd dyn yn feidrol, hyny yw, yn derfynol yn eu natur, a'i fod yn hollol anhyall i ddyn gyrhaedd cyflawnder o bob gwybodaeth. Ond y mae hyn yn dybiaeth gau, heb y cysgod lleiaf o sail. Awn yn mlaen i brofi nad yw galluoedd dyn yn derfynol, ond annherfynol. Byddai yn dda i ni ddarlunio y geiriau *meidrol* ac *anfeidrol*, cyn yr elom yn mlaen yn mhellach. Mae gan y geiriau rhai'n synwyr hollol wahanol pan eu defnyddir mewn perthynas i bethau gwahanol. Pan eu defnyddir gyda golwg ar yspaid neu barhad, meidrol sydd yn arwyddo yspaid, neu amser cynnwysedig o fewn terfynau; tra y mae anfeidrol yn arwyddo yspaid annherfynol, neu barhad diddiwedd. Pan ei defnyddir gyda golwg ar rifedi, y cyntaf sydd yn arwyddocau nifer penodol, a'r diweddaf nifer annherfynol, neu rês diddiwedd o rifedi. Pan eu cymhwysir at wybodaeth, mae un yn arwyddocau gwybod yn unig mewn rhan, a'r llall gwybod yn gyflawn. Pan eu defnyddir gyda golwg ar alluoedd, meidrol sydd yn arwyddo cymhwysder sydd sefydlog, neu a ellir yn unig ei ddadblygu mewn gradd derfynol, tra mae anfeidrol yn arwyddo cymhwysder digonol fawr i ymgrafangu cyflawnder o bob gwybodaeth, wedi yr hyn dadblygiad a baid o ddiffyg rhagor i'w ddysgu. Gall un gael cymhwysder anfeidrol, ac etto a chanddo ond gwybodaeth feidrol. Nis gwyddom am neb bodau a chanddynt alluoedd meidrol yn unig. Angylion,

dynion, anifeiliaid, adar, pysgod, a thrychfilod, sydd a gwybodaeth feidrol, ond nid oes genym un rheswm i dybied fod un o honynt yn derfynol yn eu galluoedd, o herwydd ar ddim a wyddom ni, gall fod gan un ac oll o honynt alluoedd addas i dderbyn gwybodaeth anfeidrol. Pe tybiasem fod rhai o'r bodau rhai'n yn feidrol yn eu galluoedd, yna rhaid fod rhyw derfyn o wybodaeth, tuhwnt i ba un nis gallant byth fyned: canys os oeddynt yn alluog i fyned trwy unrhyw derfynau penodedig o wybodaeth, byddent yn addas i dderbyn cyflawnder o bob gwybodaeth, pa un a fyddai yn anfeidrol.

93. Cyfansoddiad ein meddyliau sydd y fath, fel nas gallwn yn hawdd ddeall am fôd a gymhwyswyd i amgyffred un gwirionedd, ond yn analluog i amgyffred un arall. Mae yn wir, y gall fod attalfeydd ar y ffordd, gan ba rai y rhwystrir y bôd hwn rhag cyrhaedd ail wirionedd; ond symuder pob attalfeydd, a lleoler y bôd mewn cyflwr ffafriol, y gofyniad yw, ai ni allai amgyffred ail, trydydd, pedwarydd, neu hyd y nod unrhyw nifer o wirioneddau, yn gystadl â'r cyntaf? Ni welwn ni un attalfa bosibl idd ei gynnydd mewn gwybodaeth ond yn unig gan gyfryngu rhwystrau yn y ffordd. Os oes gan y gallu fodoliaeth, yr hyn raid fod ganddo mewn trefn i amgyffred un gwirionedd, nis gallwn ddirnad pa fodd y gallai fod yn derfynedig, fel nas gall byth, o dan unrhyw amgylchiadau, fod yn alluog i amgyffred un arall. Nid ydym ni yn gweled paham nas gall cynneddf ag sydd yn alluog i ganfod fod dau yn fwy nag un, na all ganfod hefyd fod tri yn fwy nâ dau. Rhai gwirioneddau ydynt yn fwy anhawdd idd eu hamgyffred nag ereill, ond hyn sydd ddyledus, nid o ddiffyg cymhwysder, ond idd y rhwystrau ag ydynt yn cyfryngu rhwng y cymhwysder a'r gwirionedd sydd i'w amgyffred. Symuder y rhwystrau ag ydynt yn cyfryngu, a'r cymhwysder ag sydd yn abl i ddirnad un gwirionedd a allai amgyffred pob gwirionedd. Am hyny, pa le bynag y bodola dyn sydd a chanddo unrhyw wybodaeth, pa cyn lleied bynag y swm, y bôd hwnw sydd a chanddo alluoedd anfeidrol, a amgyffred bob peth a fu, sydd, ac a ddaw, mor fuan yn gywir ag y symudir y cyffiniau cyfryngol. Yr ydym yn wybodus fod y meddylddrych hwn yn wrthwynebol braidd i olygiadau holl ddynolryw: cawsant hwy eu haddysgu fod y cymhwysderau, yn gystadl â'r wybodaeth am

bob bodau, ond Duw, yn anfeidrol; ac oddiwrth y pethau gau crybwylledig, tynasant y casgliad na allai neb bodau byth gyrhaedd i holl gyflawnder gwybodaeth Duw. Pe caniateid y pethau crybwylledig, y casgliadau a fyddent gyfiawn: ond y pethau rhag-grybwylledig ydynt yn ddisail, ac yn amlwg yn dwyllodrus. Galluoedd dyn ydynt nid yn unig yn dragywyddol, ond yn anfeidrol, ac y mae efe yn addas i dderbyn gwybodaeth annherfynol. Ac heb wybodaeth annherfynol, ei alluoedd nis boddlonir byth.

94. Dywedir yn fynych gán philosophyddion, fod gwybodaeth pa un sydd yn feidrol, nas gall gynnyddu fel ag i ddyfod yn anfeidrol; ond hyn sydd wrthwynebiad uniongyrchol i ffaith. Ein Hiachawdwr, pan ddaeth efe i'r byd, a feddiannai wybodaeth feidrol yn unig; oddiyma Efe a arddangosir megys yn cynnyddu mewn doethineb a chorffolaeth. Cynnyddu mewn doethineb a brawf yn amlwg nad oedd Efe yr amser hwnw yn feddiannol ar bob gwybodaeth. Ei ddoethineb a'i wybodaeth oeddynt yn feidrol. Ond Efe ar ol hyny a gyrhaeddodd gyflawnder, ac fel y dywed Paul, "Yn yr hwn (Crist) mae holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig." A thrachefn, "Ynddo ef y preswylia holl gyflawnder y Duwdod yn gorfforol" (Col. ii, 3. 9). "Rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef" (Col. i, 19). Ioan Fedyddiwr a ddyg dystiolaeth iddo weled ei ogoniant, a'i fod yn "llawn grâs a gwirionedd" (Ioan i, 14). Yr amser y rhoddodd y Tad iddo yr Ysbryd Glân, yn ddiammau y derbyniodd efe y cyflawnder: oblegid Ioan yn fuan wedi hyny a ddywed fel hyn am dano: "Nid wrth fesur y rhoddodd Duw iddo ef yr Ysbryd. Mae y Tad yn caru y Mab, ac wedi rhoddi pob peth dan ei ddwylaw ef" (Ioan iii, 34, 35). Holl drysorau doethineb, gwybodaeth, a gwirionedd, oeddynt guddiedig ynddo ef; yr oedd efe yn llawn o honynt: cyflawnder yr Ysbryd, cyflawnder y Duwdod, a chyflawnder gallu, a breswylient ynddo Ef: pob peth a roddwyd yn ei law ef. Nid oedd doethineb, na gwybodaeth, na gallu, na llywodraeth, a feddiannai y Tad, ond a feddiannai Iesu hefyd. Mewn gair, yr oedd efe yn un yn holl briodoleddau a pherffeithderau y Tad. Am y rheswm hyn y dywedodd yr Iesu, "Myfi a'r Tad un ydym" (Ioan x, 30). Yma, ynte, y mae genym esiampl o wybodaeth, doeth-

ineb, a gallu meidrol, yn cynnddu hyd oni ddaeth yr un yn anfeidrol.

95. Fel y mae genym esiampl o wybodaeth feidrol yn cynyddu i anfeidroldeb, y mae genym reswm i gredu y gall fod yr achos mewn enghreifftiau ereill. Os derbyniodd y Cyntafanedig neu y brawd hynaf gyflawnder, ni welwn un anmhriodoldeb i gredu y gall y brodyr ieuengach hefyd dderbyn yr un cyflawnder. Paul a weddiodd fod i'r Saint gael eu "cyflawni â holl gyflawnder Duw" (Eph. iii, 19). A'r Iesu a weddiodd fel y gallent oll gael eu perffeithio yn un, megys yr oedd efe a'r Tad yn un (Ioan xvii). Pan atebir y gweddiau rhai'n, byddant hwy yn gwybod cymmaint ag y mae y Tad a'r Mab yn ei wybod. Byddant hwy yn y Tad a'r Mab, a'r Tad a'r Mab a fyddant ynddynt hwythau, a'r Tad a'r Mab a'r holl Saint a wneir yn berffaith yn un. Oddiyma y dywed Ioan, "Anwylyd, yn awr meibion i Dduw ydym, ac ni amlygwyd i ni etto beth a fyddwn; ond ni a wyddom, pan ymddangoso efe, y byddwn yn debyg iddo" (1 Ioan iii, 2). Nid yn unig yn debyg iddo mewn corff, ond hefyd mewn meddwl. Oblegid yna efe a "gyfnewidia ein corff gwael ni, fel ei llunier yn debyg i'w gorff gogoneddus ef" (Phillipiaid iii, 21). Yna y byddwn berffaith megys y mae ein Tad yr hwn sydd yn y nef yn berffaith—(Math. v, 48): yna y byddwn bur megys y mae Efe yn bur, a santaidd megys y mae Efe yn santaidd; yna yr adnabyddwn megys ein hadwaenir, ac y canfyddwn megys ein canfyddir: yna y byddwn yn etifeddion Duw, a chyd etifeddion â Christ mewn etifeddiaeth o bob peth: yna gwybodaeth o ran a ddilëir, a ni a adnabyddwn yn gyflawn: yna ni fydd un wybodaeth, neu wirionedd, neu ddoethineb yn yr uchelderau fry neu yn y dyfnderau obry, neu yn y nefoedd, neu yn nef y nefoedd, neu mewn anfeidroldeb eangder, neu mewn oesoedd o dragywyddol barhad, ond a ddirnadwn ac a wybyddwn; yna ni fydd un bôd neu fodau mewn bodoliaeth a fyddant yn gwybod un mymryn mwy nag a fyddwn ni yn wybod; yna ein gwybodaeth, a'n doethineb, a'n gallu fydd yn anfeidrol; ac nid all o hyny allan fod yn gynnyddol neu ymhelaethol yn y radd leiaf: yna byddwn yn Dduwiau, oblegid holl gyflawnder Duw a breswylia ynom ni.

96. Buwyd yn fwyaf cyffredinol yn credu y bydd i'r Saint

gynnyddu mewn gwybodaeth i bob tragywyddoldeb: ond pan y deuant yn un â'r Tad a'r Mab, a derbyn cyflawnder eu gogoniant, bydd hyny yn derfyn ar bob cynnyddiad mewn gwybodaeth, o herwydd ni fydd dim yn rhagor i'w ddysgu. Y Tad a'r Mab nid ydynt yn cynnyddu mewn gwybodaeth a doethineb, oblegid y maent eisoes yn gwybod pob peth fu, sydd, ac a ddaw. Pawb a ddeuant yn debyg i'r Tad a'r Mab a fyddant yn gwybod gymmaint ag y maent hwy yn wybod, ac o ganlyniad ni ddysgant ddim yn rhagor. Y Tad a'r Mab, a phawb ag sydd yn debyg iddynt ac yn un â hwynt, sydd eisoes yn gwybod cymmaint ag y mae unrhyw ddyn mewn bodoliaeth yn wybod, neu a all wybod byth.

97. Yn yr ail wahanran ar hugain o'r erthygl hwn dangosasom nas gallai yn bosibl fod ond un Duw, mor bell ag yr oedd y priodoleddau yn perthyn, ond mor bell ag y golyga ddynsoddau, i fod nifer ddirfawr o Dduwiau. Yn awr, dymunwn fod yn ddealledig amlwg fod pob un o'r Duwiau personol rhai'n, a chanddynt wybodaeth gyfartal â'r oll o'r lleill; nid oes neb yn eu plith hwynt ag ydynt yn myned yn mlaen ar ereill mewn gwybodaeth; er y gallai rhai o honynt fod wedi bod yn Dduwiau am gynnifer o filiynau o flynyddau ag sydd o demigau o lwch yn yr holl fydyssawd, etto nid oes un gwirionedd ag y mae y cyfryw mewn meddiant o hono, ond yr hyn ag y mae pob Duw arall yn wybod. Maent oll yn gyfartal mewn gwybodaeth, ac mewn doethineb, ac yn y meddiant o bob gwirionedd. Nid yw neb o'r Duwiau rhai'n yn cynnyddu mewn gwybodaeth: nis gallant ychwaith gynnyddu yn y cyrhaeddiad o unrhyw wirionedd.

98. Rhai a aethant mor bell ag i dlywedyd fod yr holl Dduwiau yn gynnyddol mewn gwirionedd, ac y gwnelent barhau i gynnyddu i bob tragywyddoldeb, a bod rhai yn mhell yn y blaen ar ereill: ond ymofynwn, am foment, am wrthuni y cyfryw ddychymmyg. Os bydd yr holl Dduwiau yn dragywyddol gynnyddol, yna y mae yn canlyn, y rhaid fod anfeidroldeb diderfyn o wybodaeth nad oes un Duw erioed wedi cyrhaedd ato, neu allu byth gyrhaedd ato, trwy annherfynol oesau i ddyfod: yr anfeidroledd diderfyn hyn o wybodaeth a fyddai yn hollol allan o gyrhaedd a rheolaeth yr holl Dduwiau; am hyny, naill ai ni lywodraethid ef o gwbl, neu pe amgen llywod-

raethid ef gan rywbeth ag oedd yn anfeidrol uwchlaw y Duwiau oll—rhywbeth ag oedd ganddo bob gwybodaeth, ac o ganlyniad nas gallasai gyrhaedd ychwaneg. A oes genym ni ryw hawl i ddywedyd i fod cefnfor diderfyn o ddefnyddiau yn gweithredu o dan y cyfryw uwch ddeddfau, fel nas gall neb o'r Duwiau i holl oesoedd tragywyddoldeb, fod yn alluog i'w deall hwynt? Carem ni wybod pa Ddeddf-roddwr a roddodd y fath uwch ddeddfau? Os dywedir na roddwyd y deddfau erioed, ond fod y defnyddiau eu hunain yn gweithredu yn dragywyddol yn ol y cyfryw, ni wnelai hyny yn y modd lleiaf symud yr anhawsdra; o herwydd wedi hyn byddai cefnfor diderfyn o ddefnyddiau, yn meddiannu gwybodaeth o ddeddfau mor anfeidrol uwchlaw i wybodaeth yr holl Dduwiau, fel na allai neb o honynt, trwy gynnyddu dros oesoedd tragywyddol, ei chyrhaedd am byth. Dyma y gwrthuni mawr sydd yn deilliaw oddiwrth y gwag ddychymmyg y bydd cynnyddiad diderfyn mewn gwybodaeth yn mhlith yr holl Dduwiau. Y fath ddychymmyg sydd nid yn unig yn wrthun, ond y mae mewn gwrthwynebiad uniongyrchol i'r hyn sydd wedi ei ddadguddio.

*(I'w barhau.)* *Cyf.* D. E JONES.

---

## LLYTHYR AT Y LLYWYDD W. S. PHILLIPS

*St. Sior, Abergele, Hydref* 30, 1853.

ANWYL LYWYDD.—Yn ol eich cynghor yn yr UDGORN, yr wyf yn anfon hyn o lythyr atoch, i'ch hysbysu ynghylch sefyllfa ein Cynnadleddau. Mae pawb yn gyffredin yma yn iach yn y ffydd, ac undeb da yn mhlith y Saint a'r swyddogion. Mae yma fedyddio ychydig, a rhai o'r hen Saint yn ymofyn eu lle yn ein plith, gan gydnabod eu bai, &c. Pregethasom lawer allan y tymmor mynedol, ac y mae rhai yma a thraw yn credu yr efengyl, a llawer yn pleidio yr egwyddorion ; yr ydym yn dechreu mabwysiadu cynghor ein llywyddion, gan gredu y bydd yn llwyddiannus, sef dosparthu traethodau: yr ydym wedi rhoi yr ysgol boreu y Sul heibio, a chynghor i'w gynnal am bump o'r gloch yn yr hwyr, fel gallo y swyddogion gael y boreu i ddosparthu traethodau, ac ymweled â'r rhai sydd yn credu ac yn pleidio y gwirionedd, yn y lleoedd y buom yn pregethu, fel y byddo i'r egin gael chwarae teg i dyfu, gan obeithio y cawn y fraint o'u dwfrhau cyn hir; ac y mae y chwiorydd yn penderfynu dyfod i'r maes gyda ni at y gwaith hwn. Cynnaliasom Gynghor y Gynnadledd yn ddiweddar, a chawsom bawb mewn

penderfyniad da a chadarn i weithredu ewyllys yr Arglwydd, megys ei dadguddir trwy ei weision y prophwydi. Ymdrechwn glirio dyled y llyfrau cyn yr elo y flwyddyn hon heibio; casglwyd yma dros £4 tuag at hyny, mewn un gangen fychan wythnos i heddyw. Nid oes yma un gangen a'r nad yw doniau yr Ysbryd Glân yn cael eu mwynhau ynddi. Dyma yw ein sefyllfa yn bresennol, a bendigedig fyddo enw yr Arglwydd ein Duw am ei ddoniau nefolaidd.

Derbyniais lythyr oddiwrth fy nhad, o Seion, yr hwn sydd yn llawn o newyddion da. Mae pawb o'r Cymry sydd yn y Dyffryn yn iach. Dywed y gallant orchfygu yr Indiaid sydd yn eu hafionyddu mewn ychydig o ddyddiau, ond nad yw y Saint yn ceisio eu dystrywio, ond am eu dysgu i fod yn heddychlawn hyd y mae ynddynt; ac nid oes ar y Saint ddim o'u hofn. A dywed hefyd fod y brawd Haight, ac ereill, ag oedd yn cychwyn y Saint trwy yr anialwch, wedi cyrhaedd yno yn llwyddiannus, ond nad oeddynt yn dysgwyl y gwersyll am chwech wythnos drachefn; yr 28ain o Awst oedd y pryd hwnw. Fy nghofion atoch. Ydwyf, &c. JOHN PARRY.

## AMRYWIAETHAU, &c.

ARIAN yn eich alwar a dalant eich ffordd; doethineb yn eich pen a'ch addurna; ond y ddau, mewn anghen, a'ch gwasanaethant.

Os bydd cynnifer o glefydau yn eich corff ag a gynnwysa ysgrif marwoldeb, cymmedroldeb a'u meddyginiaetha oll.

DYNION cybyddlyd a lafuriant lawer i gasglu golud; ac er mwyn boddhau eu trachwant, hwy a newynant eu hunain.

TALIADAU O TACH. 11 HYD TACH. 17.—Pontytypridd, 13s 6c; Aberdâr, 3s 9c; Aberamman, 10s; Hirwaen, 4s 10c; Georgetown, 5s 1c; Pendaren, 5s; Troedyrhiw, 2s 3c.—Cyfanswm, £2 4s 5c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 22.] TACHWEDD 26, 1853. [CYF. VI.

### PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 334.]

LLAWER a ymofynant, beth a fydd sefyllfa y rhai hyny a fuont feirw cyn i'r goleuni hwn gael ei ddadguddio? Yr ydym yn ateb y gwnaeth Duw ddarpariadau yn y deddfau, ordinhadau, a'r cynlluniau, a sefydlwyd er cyn seiliad y byd, i gyfateb amgylchiadau pob person. Nid yw y rhai hyny a fuont feirw heb glywed y genadwri a anfonwyd o'r nef, yn ei gwrthod; ac ordeiniodd Duw fod yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, i'r byw wasanaethu dros y marw. Oblegid yr achos hwn gorchymynodd Duw i Deml gael ei hadeiladu, fel y byddo i'r ordinhadau hyny ag sydd anghenrheidiol er iachawdwriaeth a phrynedigaeth y marw, gael eu dadguddio a'u gweinidogaethu yn yr unrhyw. Gair yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at *Joseph* y *Gweledydd*, a ddengys bwysigrwydd y pethau hyn; y mae yn darllen fel y canlyn:—

"Yn wir meddaf i chwi, mae eich eneinniadau, a'ch golchiadau, a'ch bedyddiadau dros y meirw, a'ch cymmanfaoedd santaidd, a'ch coffadwriaethau am eich haberthau, gan feibion Lefi, ac am eich oraclau yn eich lleoedd santeiddiolaf, yn mha le y cewch ymddyddanion, a'ch deddfau a'ch barnau, am ddechreu dadguddiadau a sylfaeniad Seion, ac am ogoniant, anrhydedd, a chynnysgaethiad ei holl ddinasyddion, wedi eu hordeinio gan gyfraith fy nhŷ santaidd, yr hwn a orchymynir

i'm pobl bob amser i'w adeiladu i'm henw santaidd" (Athrawiaeth a Chyfammodau, dos. ciii, gwa. 12).

Yr ydym yn deall, trwy y dadguddiad hwn, y gorchymynir pobl Dduw bob amser i adeiladu tŷ i'w enw santaidd Ef, yn yr hwn y gellir yn gyfreithlawn weinyddu bedyddiadau, a phob ordinhadau anghenrheidiol ereill, nid yn unig dros y byw, ond hefyd dros, ac yn enw, ac ar ran y meirw. Os gwrendy ysbrydoedd y meirw sydd yn ngharchar ar genadwri y rhai hyny a ddaliant yr offeiriadaeth, ac a anfonir i'w carchardai i agor drysau y carchar, a'u dodi yn rhyddion; os credant yn Iesu Grist, ac edifarhau am eu holl bechodau, a derbyn y newyddion da o brynedigaeth; os derbyniant trwy ffydd yr hyn a wnaeth eu cyfeillion yn y cnawd drostynt trwy ordinhadau tŷ santaidd Duw, sef y bedyddiadau, cadarnhadau, ordinhadau, golchiadau, eneinniadau, arwyddion, argoelion, allweddau, a'r galluoedd i selio a weinyddir gan y byw, ac i'r byw, dros, ac yn enw y meirw, os bydd iddynt gyda didwylledd ffydd ac edifeirwch gostyngedig, gredu yn, a derbyn yr oll a wneir ar eu rhan, yr un fath ag y derbyn y byw yr hyn a wnaeth Crist, hwy a waredir o'u carcharau, a chofrestrir eu henwau yn mysg y rhai a santeiddiwyd yn y deyrnas nefolaidd, a'r cofrestrau yn y nef a fyddant yn gydgordiol â'r cofrestrau yn nhŷ santaidd Duw ar y ddaear; a'r hyn a wneir ac a selir ar y ddaear drostynt, ac ar eu rhan, a gydnabyddir, a gofrestrir, ac a selir yn y nefoedd, a bydd yn safadwy a chyfreithlawn yn nydd mawr adgyfodiad y cyfiawnion; eithr y gweddill o'r ysbrydoedd y rhai na dderbyniant y newyddion da, a chymmeradwyo gwaredigaeth, a gedwir mewn cadwynau tywyllwch i farn y dydd mawr, a'u poenedigaeth a gaiff fod fel pe yn goddef mewn fflamiau o dân, lle nad yw y pryf yn marw.

A ydych yn ymholi pa fodd y mae i ni gael llinach ein tadau, fel ag i wneuthur y gwaith hwn drostynt yr hyn na chawsant hwy, pan yn fyw, y cyfleusdra i'w wneuthur, a'r hyn, megys ysbrydion yn ngharchar, ni allant ei wneyd? Atebwn, ei fod yn ddyledswydd ar bob Saint yn mhlith pob cenedl i chwilio allan, gan belled â byddo modd, eich cofrestrau teuluol, a'ch achau, a'ch perthynasau, y byw a'r meirw fel eu gilydd. Ac wedi i chwi fod yn ddiwyd, a meddiannu pob hysbysiad o fewn eich cyrhaedd, a myned o honoch i Deml santaidd y Goruchaf,

a gwneuthur yr hyn a geisir gan y byw dros y meirw, yna dengys Duw i chwi, trwy ei brophwydi a'i weledyddion, a thrwy genadon santaidd ac angylion, achau eich tadau, yn ol o genedlaeth i genedlaeth, hyd y dechreuad, neu hyd yr amser yr oedd galluoedd, ac allweddau, ac ordinhadau yr offeiriadaeth ar y ddaear. Pan y caffoch yr achau hyn, bydd yn ddyledswydd arnoch dderbyn yn y Deml santaidd, yr holl ordinhadau a'r galluoedd selio a sefydlwyd yn nghynghorau Meibion Duw cyn bod y byd, er iachawdwriaeth, prynedigaeth, dyrchafiad, gogoniant, ac anrhydedd y meirw a drengasant heb wybodaeth o'r pethau hyn; oblegid nis gellir eich perffeithio chwi, heb eich tadau, a chwaith nis gellir perffeithio yr hen dadau a ddaliasant yr offeiriadaeth heb y plant.

Mae yr amser gerllaw pan y cyfunir y tadau a ddaliasant yr offeiriadaeth yn y nef, gyda'r plant a ddaliant yr offeiriadaeth ar y ddaear; ond y mae yna lawer o genedlaethau rhyngddynt, y rhai na ddaliasant yr offeiriadaeth, ond a drengasant yn eu hanwybodaeth: torir y gadwyn ogoneddus o lywodraeth Batriarchaidd, yn gydgordiol â threfn cenedlaethau, ac ni fydd yr undeb yn gyflawn, oddigerth i galonau y tadau gael eu troi i chwilio am brynedigaeth cenedlaethau eu plant a orweddasant i lawr yn eu beddau yn nyddiau tywyllwch; ac hefyd oddigerth i galonau y plant gael eu troi tuag at eu tadau. Mal hyn trwy gyfundeb ymdrechiadau yr offeiriadaeth yn y nef, gyda'r offeiriadaeth ar y ddaear, bydd i ddolenau cyfryngol y gadwyn fawr o genedliad gael eu hadfer, a gwneir undeb y tadau gyda eu plant yn berffaith, a saif pob cenedlaethau dilynol yn eu hurdd eu hunain, yn arferu eu hawdurdod Batriarchaidd, ac yn rheoleiddio y deyrnwialen o gyfiawnder, yn gyfatebol i urdd santaidd yr offeiriadaeth am byth bythoedd.

Pan wneir y sefydliadau santaidd a chyssegredig hyn yn hysbys i'r ysbrydion yn ngharchar gan genadon santaidd yn dal yr offeiriadaeth, gadewir hwy i'w goruchwyliaeth eu hunain, naill ai i dderbyn neu i wrthod y newyddion da hyn, a bernir hwy yn ol dynion yn y cnawd ag sydd ganddynt y fraint o glywed yr unrhyw bethau. Gan yr un gyfraith eu cyfiawnheir, a chan yr un gyfraith eu condemnir, yn ol eu gweithredoedd; mal hyn ordeiniodd Duw yr un cynllun er

iachawdwriaeth y byw a'r meirw; i'r rhai hyny a drengant mewn anwybodaeth, fel i'r rhai a'i clywant tra yn y cnawd.

Yn mhlith y pethau santaidd a chyssegredig hyn, a berthynant i gyfiawnder yr offeiriadaeth dragywyddol, a byth ddyrchafiad y gwrryw a'r fenyw, y mae hyny o briodi am dragywyddoldeb, yr hon ordinhad a sefydlwyd er budd i'r meirw, yn gystadl ag i'r byw. Y lleoedd cymhwys i weinyddu y sefydliad santaidd hwn, ydynt yn Seion ac yn ei Hestynfeydd, ac yn Jerusalem, i'w gweinyddu dan gyfarwyddyd a thrwy awdurdod yr hwn a ordeiniodd Duw i ddal allweddau y galluoedd selio yn mysg ei bobl Ef ar y ddaear. Mae yr ordinhad hon, fel bedyddiadau dros y meirw, a nifer o ordinhadau ereill, yn perthynu yn fwyaf priodol i dŷ yr Arglwydd, a dylid gofalu am dani yno, gan gynted ag yr adeiladir yr unrhyw.

Os collodd gwr ei wraig trwy farwolaeth cyn cael o hono y cyfleusdra i ofalu am yr ordinhad santaidd hon, a'i sicrhau hi megys ei wraig gyfreithlawn am dragywyddoldeb, yna y mae yn ddyledswydd ar yr ail wraig, yn gyntaf, i gael ei selio neu ei phriodi i'r gwr dros ac yn enw y wraig drengedig am bob tragywyddoldeb, ac yn ail, i gael ei phriodi am amser a thragywyddoldeb, ei hunan, i'r unrhyw ddyn. Mal hyn, trwy yr ordinhad santaidd hon, bydd y wraig drengedig a'r un fyw yn eiddo ef yn y bydoedd tragywyddol.

Eithr os, cyn priodi am dragywyddoldeb, y coll gwraig ei gwr trwy farwolaeth, a phriodi ail, ac os oedd ei gwr cyntaf yn ddyn da, yna dyledswydd ei hail wr yw ei briodi iddi hi am bob tragywyddoldeb, nid iddo ei hun, ond yn enw ei gwr trengedig, tra nas gall ef ei hun ei briodi iddi heblaw dros amser; ac y mae yn rhwym o fyned i gyfammod i'w rhoddi i fyny, gyda ei holl blant, i'w gwr trengedig, yn moreu yr adgyfodiad cyntaf. Yn yr achos hwn, ni fyddai gan yr ail wr un wraig, heblaw dros amser, ac nis gall chwaith ddal gafael ar ei blant yn y bydoedd tragywyddol, oblegid rhoddid hwy, yn gyfatebol i gyfraith y nef, i fyny i'r wraig a'i gwr cyntaf. O ganlyniad, byddai yn ddyledswydd ar yr ail wr i briodi ail wraig am amser a thragywyddoldeb; o herwydd trwy ei phriodi dros amser, gallasai godi i fyny eppil a ddygent ei enw, nid yn unig ar y ddaear, ond, gyda eu mam, byddent ei eiddo ef yn gyfreithlawn yn yr adgyfodiad. Rhaid i'r gwr, yn yr achos hwn, o anghen-

rheidrwydd feddiannu dwy wraig yn fyw ar yr un amser, neu ynte ei amddifadu o wraig a theulu yn y cyflwr tragywyddol.

Os prioda gwr gweddw wraig weddw, a phob un yn dymuno cael eu cydymaith blaenorol yn y byd nesaf; yna y mae yn anghenrheidiol cael tair seremoni o briodas; yn gyntaf, yr un sydd yn sicrhau i'r gwr gweddw ei wraig drengedig; yn ail, yr un sydd yn sicrhau i'r weddw ei gwr trengedig; ac yn drydydd, yr un sydd yn cyfansoddi y gweddw a'r weddw yn wr a gwraig dros amser yn unig. Yn yr achos hwn, fel yn yr achosion ereill oll, aiff y plant yn yr adgyfodiad i'r un teulu gyda'r fam; y rheswm am hyn ydyw, o herwydd nas gall y fenyw gael ond nifer derfynol o blant yma yn y bywyd hwn, tra gall y dyn, heb ei gyfyngu gan gyfraith Dŵw i un wraig, gael llawer o blant; gan hyny, nid yw yn gyfunol â threfn y nef, i gymmeryd yr ychydig blant a ddichon benyw eu cael oddiarni, os darparwyd ganddi wr dros dragywyddoldeb.

Os bydd marw y gwr a'r wraig yn yr Eglwys hon, cyn eu sicrhau i'w gilydd dros dragywyddoldeb, yna y mae yn ddyledswydd ar eu perthynasau neu gyfeillion yn yr Eglwys i ofalu am yr ordinhad santaidd o briodas ar eu rhan, fel y byddo i'r hyn a wneir drostynt gan y byw, yn gyfatebol i ordinhad ac awdurdod y nef, fod wedi ei gofrestru yn y cof-lyfrau cyssegredig ar eu rhan, yn y dydd pan gaiff y cofrestau neu y llyfrau eu hagoryd; o herwydd gwneir iddynt y pryd hwnw yn ol eu gweithredoedd, a gweithredoedd eu cyfeillion a ymddygasant drostynt, a gweithredoedd yr offeiriadaeth sydd a'i gweithrediadau yn gofrestol ar y ddaear ac yn y nef. Cydnebydd Duw yn y dydd hwnw yr awdurdod a ordeiniodd Efe, a'r gweithredoedd a gyflawnasant hwy yn ei enw, ac yn gyfatebol i'w air Ef.

Os treng y gwyr neu y gwragedd cyn cael cyfleusdra i'w bedyddio i'r Eglwys hon, yna y mae yn anghenrheidiol cyn y gellir gweinyddu yr ordinhad o briodas ar eu rhan, i'r byw ofalu am fedyddiadau, a chadarnhadau, ac ordeiniadau, a golchiadau, ac eneinniadau, a phob sefydlíadau ereill ordeiniedig gan Dduw, dros ac yn enw y trengedig, ac yn olaf o'r cwbl y galluoedd selio mewn priodas, a'r bendithion cyssylltiedig â'r cyfryw, fel y galler cyfiawnhau y meirw yn mhob pethau, a'u santeiddio, a'u dyrchafu, a'u gogoneddu, a'u gwneu-

thur yn freninoedd, ac yn offeiriaid, ac yn Dduwiau, trwy yr un cyfreithiau ac ordinhadau â'r byw; am eu bod hwy yn oruchwylwyr yn myd yr ysbrydoedd, i dderbyn neu i wrthod yr hyn a wnaed drostynt, yr un fath â'r byw.

Yn yr un modd, caiff ein henafiaid, yn ol o genedlaeth i genedlaeth, y fraint o brynedigaeth, ac o ddyrchafiad, ac o wragedd a phlant, trwy allweddau yr offeiriadaeth dragywyddol a anfonwyd i lawr o'r nef, ac a roddwyd i'r byw er iachawdwriaeth y cenedloedd ar y ddaear, a chenedloedd y meirw; a bydd i'r oll mewn amser ac yn nhragywyddoldeb, yn y cnawd ac allan o'r cnawd, a'r a glywant ac a dderbyniant y cyfryw, gael eu casglu ynghyd yn un, a'u gogoneddu ynghyd, a'u perffaith wneuthur yn un; ac fel hyn y caiff yr holl genedlaethau, y rhai sydd yn y nef, a'r rhai ar y ddaear, yn gystadl â'r rhai hyny a waredwyd o garchar, eu cyfuno a'u hasio ynghyd i'w dolenau priodol, dan Adda, prif Batriarch yr holl genedlaethau, Tywysog yr oll, a thad yr oll, o dan gynghor a chyfarwyddyd yr Un santaidd, yr hwn sydd o bob tragywyddoldeb, Tad y goleuadau, yr hwn sydd yn oll, a thros oll, a thrwy oll, bywyd a gogoniant yr holl bethau, a'r gallu trwy yr hwn y llywodraethir pob peth, pa un bynag a fyddont ai Patriarchiaid neu deuluoedd, tywysogaethau neu deyrnasoedd, gorseddfeinciau neu arglwyddiaethau; pawb a blygant mewn parch gostyngedig o'i flaen Ef, a rhoddant iddo Ef ogoniant am byth bythoedd.

Y gwr yw pen y teulu, a'i ddyledswydd ef ydyw llywodraethu ei wraig neu wragedd, a phlant, yn gyfatebol i gyfraith cyfiawnder; a dyledswydd ei wragedd ydyw bod yn ddarostyngedig iddo ef yn mhob peth, hyd y nod fel y mae yr Eglwys yn ddarostyngedig i Grist. Dadguddiwyd hyn yn eglur yn mynegiad yr Arglwydd i Efa yn ebrwydd wedi y codwm. Dywedwyd wrthi, "Dy ddymuniad a fydd at dy wr, ac efe a lywodraetha drosot ti" (Gen. iii, 16). Bwriadwyd y sefydliad dwyfol hwn yn nhrefn llywodraeth deuluol, megys trefn dragywyddol, i'w pharhau yn mhob cenedlaeth. Dylai pob gwraig geisio cynghor oddiwrth ei gwr, ac ufyddhau i'r unrhyw gyda phob llareidd-dra ac amynedd yn mhob peth. Nid yw y drefn hon ar bethau yn gymhwysiadol ond yn nheuluoedd y cyfiawn; oblegid nid oes a wnelo Duw gyda theuluoedd y drygionus,

heblaw eu dwyn i farn am eu holl weithredoedd drwg. Eithr y mae teuluoedd y cyfiawn dan y rhwymau mwyaf cyssegredig i roddi yr ystyriaeth fwyaf difrifol i holl gynghorion penaeth y teulu; ac y mae yntau yn rhwym, trwy y cyfrifoldeb trymaf, i'w cynghori gyda sobrwydd, llareidd-dra, doethineb, a phwyll, gan arfer goddefgarwch, amynedd, ac hir-ymros, gan ddangos trugaredd a thosturi pan eu gofynir, ond gan fod yn fanwl a diymollwng yn nghymhelliad pob peth a dueddo er daioni i'r teulu; ni ddylai ef byth oddef ei symud i'r llaw ddeau na'r aswy oddiwrth egwyddorion cyfiawnder, gan na gwenau na dagrau gwragedd neu blant. Dylai fod mor sefydlog ac ansymudol â gorsedd y nef, yn mhob egwyddor uniawn a santaidd. Eithr pan y gallo ymollwng mewn cyfiawnder i ddymuniadau ei deulu, gadawer iddo wneyd hyny, a thrwy garedigrwydd a chariad eu magu a'u meithrin, fel y gwna yr Arglwydd i'r Eglwys; ac mewn gwneyd felly, hwy a'i carant ac a'i hanrhydeddant ef megys gwr a thad.

Ni ddylai gwraig byth ddilyn ei barn ei hun yn fwy dewisol nâ'r eiddo ei gwr; oblegid os dymuna ei gwr wneyd yn iawn, eithr cyfeiliorni o hono mewn barn, bydd i'r Arglwydd ei bendithio hi yn ei hymdrech i ddwyn allan ei gynghorion: o herwydd lleolodd Duw ef wrth y pen, ac er y dichon iddo gyfeiliorni mewn barn, etto ni chyfiawnha Duw y wraig yn ei hanmharch i'w hyfforddiadau a'i gynghorion; am mai mwy yw y pechod o wrthryfel, nâ'r cyfeiliornadau a godant o eisieu barn; gan hyny, condemnid hi am oddef i'w hewyllys ymgodi yn erbyn yr eiddo ef. Byddwch ufydd, a phâr Duw i bob peth gydweithio er daioni; ac Efe a gywiria gyfeiliornadau y gwr, mewn amser cyfaddas, trwy awdurdodau yr offeiriadaeth; ac os efe a lywodraetha ei deulu mewn anghyfiawnder, a'r wraig yn ufydd, bydd y pechod ar ei ben ef, ac os na edifarha ef, pan ei ceryddir, caiff ei ddïaelodi, ac ar ol hyny, ni fydd y wraig o dan yr unrhyw rwymedigaethau i aros wrth ei holl gynghorion, fel ag yn nyddiau ei gyfiawnder. Megys y sylwasom eisoes, nid yw cyfraith ufydd-dod manwl, ar ran y wraig a'r plant, yn gymhwysiadol ond mewn teuluoedd ag ydynt yn Eglwys Dduw, ac mewn llawn aelodiaeth. Mae gwrthryfel mewn teuluoedd mor bechadurus â gwrthryfel yn erbyn yr awdurdodau a ordeiniwyd yn yr Eglwys; a choll y

wraig Ysbryd Duw mewn nacâu ufydd-dod i gynghor ei gwr, yr un fath yn hollol ag y collai aelodau yn yr Eglwys trwy wrthryfela yn erbyn y cynghorion a roddid iddynt gan yr offeiriadaeth.

Llywodraeth deuluol yw yr urdd gyntaf o lywodraeth a sefydlwyd ar y ddaear. Dylai gwahanol aelodau teulu geisio bod yn un mewn pob pethau; o herwydd os nad ydynt un, pa fodd y dysgwylir y dichon gwahanol deuluoedd ddyfod yn un? Os na fydd aelodau yr unrhyw deulu yn ddarostyngedig i'r urdd a ordeiniwyd gan Dduw er eu llywodraethiad, y mae yn sicr na ellid eu huno gyda theuluoedd ereill dan lywodraeth yr offeiriadaeth, gydag un dysgwyliad o gadw heddwch. Bwriada Duw wneuthur holl deuluoedd y nef yn un gyda theuluoedd y cyfiawnion ar y ddaear. Mewn trefn i gyflawni hyn, rhaid yw mabwysiadu y drefn berffeithiaf o lywodraeth deuluol. Rhaid i wyr lywodraethu eu gwragedd a'u plant mewn cyfiawnder, a rhaid yw i wragedd a phlant ddysgu anrhydeddu a pharchu cynghorion y pen-teulu. A phan y delo pob teulu yn un yn mhob pethau, hwy a fyddant wedi eu parotoi i gyfuno eu hunain ynghyd o dan ffurf o lywodraeth fwy cyffredinol.

*(I'w barhau.)*

*Cyf.* Robyn Ddu.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 339.]

99. Cawn yn awr ddangos oddiwrth y dadguddiadau a roddwyd trwy *Joseph y Gweledydd*, fod Duw a'i Fab, Iesu Grist, mewn meddiant o bob gwybodaeth, ac nad oes dim gwirionedd ychwaneg iddynt hwy i'w ddysgu; a dangoswn hefyd y bydd i'r Saint gyrhaeddyd i'r un cyflawnder, a gwybod gogymmaint ag a wyddant hwy. Yn gyntaf, rhoddwn dystiolaeth Enoc mewn perthynas i Dduw, y Tad: "A bu i Dduw y nef edrych ar weddill y bobl; ac efe a wylodd; ac Enoc a ddygodd dystiolaeth o hyny, gan ddywedyd, Pa fodd mae y nefoedd yn wylo, ac yn tywallt eu dagrau megys y gwlaw ar y mynyddoedd? Ac Enoc a ddywedodd wrth yr Arglwydd, Pa fodd y gellwch chwi wylo, gan weled eich bod yn santaidd, ac o bob tragywyddoldeb i bob tragywyddoldeb? a phe buasai yn

bosibl i ddyn allu cyfrif gronynau y ddaear, a miliynau o ddaearau fel hon, ni fuasai yn ddechreuad i nifer eich creadigaethau chwi; a'ch llèni a estynir allan o hyd; ac etto yr ydych chwi yna, ac y mae eich mynwes yna; yr ydych chwi hefyd yn gyfiawn; yr ydych yn drugarog a chymmwynasgar yn dragywydd; chwi a gymmerasoch Seion i'ch mynwes eich hun, o blith eich holl greadigaethau, o bob tragywyddoldeb i bob tragywyddoldeb, a dim ond tangnefedd, cyfiawnder, a gwirionedd, yw preswylfa eich gorseddfainc; a thrugaredd a â o flaen eich gwyneb, ac ni fydd diwedd arno: pa fodd y mae y gellwch chwi wylo?" Yn gyssylltiedig â'r atebiad, yr Hollalluog a ddywedodd wrth Enoc, "Wele, myfi wyf Dduw; Dyn santeiddrwydd yw fy enw; Dyn cynghor yw fy enw; a Diddarfod a Thragywyddol yw fy enw hefyd. Am hyny, mi a allaf estyn allan fy nwylaw, a dal yr holl greadigaethau a wnaethym; a'm llygad hefyd a all eu treiddio." (Gwel gyfieithad Joseph Smith o Lyfr Genesis, cyhoeddedig yn y "Perl o Fawr Bris.") Y Bod yr hwn a gyfarchwyd gan Enoc yma, a'r hwn a ymddyddanodd ag ef, a arddangosir yn yr un cyssylltiad â Thad Crist. Y bôd hwn a gyhoeddir ei fod "o bob tragywyddoldeb," a'r creadigaethau a wnaeth Efe oeddynt mor ddirfawr liosog, fel na fyddai mymrynau llwch mewn miliwn o ddaearau fel hon "yn DDECHREUAD i'r nifer." Dengys hyn fod ei greadigaethau yn ddiderfyn, neu mewn geiriau ereill, yn anfeidrol mewn rhif. Yn awr, rhifedi meidrol nis gallant, mewn un golwg, fod yn ddechreuad i rifedi anfeidrol. Y nifer dirfawr o fymrynau cynnwysedig mewn miliynau o fydoedd, sydd etto ond nifer meidrol, ag sydd am hyny yn derfynedig; ond rhes diddiwedd o fydoedd nid yw yn derfynedig, ac am hyny ni all fod a dechreuad, ac ni all rhif meidrol, pa mor fawr bynag, fod yn ddechreuad rhywbeth ag sydd heb ddechreuad. Y nifer diderfyn hyn o fydoedd ydynt oll yn cael eu dal a'u llywodraethu gan allu Duw, Tad Crist. Ac i ddangos fod ganddo Ef gyflawn wybodaeth o honynt oll, Efe a floeddiodd, "A'm llygad hefyd a all eu treiddio hwynt." Galluoedd amgyffrediadol ei olygon raid fod yn anfeidrol, neu nis gallasai edrych ar nifer anfeidrol o greadigaethau. Dengys etto yn mhellach fod ei "lygad yn gallu eu treiddio hwynt" oll mewn un mynydyn; oblegid os oedd Efe yn rhwymedig i dynu ei olwg oddiar un mewn trefn i

edrych ar un arall, nis gallasai Efe byth gael amser i'w gweled hwynt oll. Pe byddai iddo Ef sylwi ar bob un, yn unig am y cyfnod byr o un eiliad, nis gallasai Efe weled hyd y nod ddechreuad y nifer diderfyn mewn cynnifer o filiynau o oesau, ag y sydd o fymrynau o lwch yn yr holl fyd gweledig; ond megys ag y "gall ei lygad eu treiddio hwynt" oll, rhaid iddo o anghenrheidrwydd gael y gallu o'u gweled hwynt oll ar yr un mynydyn. Yn mhellach, mae Efe yn bresennol gyda hwynt oll, oblegid Enoc, wrth lefaru wrth yr Arglwydd gyda golwg ar niferoedd dirfawr ei greadigaethau, sydd yn gwaeddi, "Tydi ydwyt yno, a'th fynwes sydd yno." Gan fod yn bresennol yn yr oll, yn eu gweled hwynt oll, ac yn eu llywodraethu hwynt oll, rhaid fod ganddo o anghenrheidrwydd wybodaeth am danynt oll. Ac megys ag y mae rhifedi y bydoedd yn anfeidrol, ac, am hyny, Efe a wybydd bob peth, ac nis gall wybod ychwaneg. Hyn a gytuna â'r hyn a ddywedodd yr un Bod hwn wrth Moses.

"A Duw a lefarodd wrth Moses, gan ddywedyd, Wele, myfi yw yr Arglwydd Dduw Hollalluog, a Diddiwedd yw fy enw, canys yr ydwyf heb ddechreu dyddiau na diwedd einioes; ac onid yw hyn yn Ddiddiwedd? Ac wele, tydi yw fy mab; am hyny, edrych, ac mi a ddangosaf i ti waith fy nwylaw, eithr nid y cyfan, canys y mae fy ngweithredoedd i heb ddiwedd arnynt, a'm geiriau hefyd, canys ni phallant byth; am hyny, nis gall un dyn weled fy holl weithredoedd, oddieithr iddo weled fy holl ogoniant; ac nis gall un dyn weled fy holl ogoniant, ac ar ol hyny aros yn y cnawd. Ac y mae genyf waith i ti, Moses, fy mab; ac yr wyt ti yn nghyffelybiaeth fy Uniganedig; a'm Hunig-anedig i yw, ac a fydd yr Iachawdwr, oblegid y mae ef yn llawn grâs a gwirionedd; eithr nid oes un Duw hebddof fi, a phob peth ydynt yn bresennol gyda mi, canys yr wyf yn eu hadwaen oll." (Gwel "Perl o Fawr Bris.") Yma mae Tad Crist yn cyhoeddi fod ei "weithredoedd yn ddiddiwedd," fod "pob peth yn bresennol" gydag Ef, a'i fod Ef yn eu hadnabod hwynt oll.

Mae yr un meddylddrych yn cael ei drosglwyddo mewn datguddiad arall, fel y canlyn: "Barn a â allan o flaen gwyneb yr hwn sydd yn eistedd ar yr orsedd, ac a lywodraetha ac a gyflawna bob peth; mae Efe yn amgyffred pob peth, a phob peth

sydd ger ei fron Ef, a phob peth sydd oddiamgylch ogylch iddo; ac y mae Efe uwchlaw pob peth, ac yn mhob peth, a thrwy bob peth, ac y mae oddiamgylch pob peth; a phob peth sydd trwyddo Ef, ac erddo Ef, sef Duw, yn oes oesoedd" (Ath. a Chyf., dos. vii, gwa. 10). Megys "y mae Efe yn amgyffred pob peth," ei wybodaeth raid fod yn anfeidrol; gan hyny, y dychymmyg gorwag y gall Duw y Tad, gynnyddu yn dragywyddol mewn gwybodaeth, sydd megys y dangosasom, nid yn unig yn wrthun, ond yn wrthwynebol uniongyrchol i'r dadguddiadau pa rai a roddodd Efe.

100. Cawn yn nesaf brofi trwy ddadguddiadau newyddion, fod yr Unig-anedig Fab mewn meddiant o wybodaeth gyfartal â'r Tad. "A myfi, Ioan, a welais na dderbyniodd Efe (Crist) o'r cyflawnder ar y cyntaf, ond iddo dderbyn grâs am râs; ac ni dderbyniodd o'r cyflawnder ar y cyntaf, eithr parhaodd o râs i râs, hyd oni dderbyniodd gyflawnder, ac fel hyn y galwyd Ef yn Fab Duw, o herwydd na dderbyniodd o'r cyflawnder ar y cyntaf" (Ath. a Chyf., dos. lxxxiii, gwa. 2). Pa beth oedd y cyflawnder hwn, a grybwyllir yma? Iesu a etyb y gofyniad hwn: "Myfi yw Ysbryd y gwirionedd, a Ioan a ddygodd dystiolaeth am danaf fi, gan ddywedyd, Efe a dderbyniodd gyflawnder o wirionedd, ïe, hyd y nod o bob gwirionedd." Ond pa beth yw gwirionedd? "Gwirionedd yw gwybodaeth o bethau megys y maent, ac megys yr oeddynt, ac megys maent i ddyfod" (gwa. 4). Ioan nid oedd foddlawn gyda dywedyd i ni fod Iesu wedi derbyn cyflawnder o wirionedd, ond y mae efe yn ail adrodd y meddylddrych, "ïe, hyd y nod o *bob* gwirionedd," neu mewn geiriau ereill, Efe a dderbyniodd gyflawnder gwybodaeth o "bethau megys y maent, ac megys yr oeddynt, ac megys y maent i ddyfod." Nis gallasai iaith fod yn abl i fynegi y meddylddrych yn eglurach, neu mewn geiriau mwy grymus. Ac yn awr, gofynwn, a oes rhyw wirionedd arall neu wybodaeth mewn bodoliaeth, a allasai Iesu ei ddysgu? Atebwn yn ddiofn, Nac oes. Cyflawnder o bob gwirionedd a gofleidia, yn gyntaf, gwybodaeth o "bethau megys y maent" yn eu cyflwr presennol, neu mewn geiriau ereill, gwybodaeth o'r holl fydoedd sydd yn awr yn bodoli trwy yr oll o ddiderfyn anfeidroldeb yr eangder, ac o holl ddefnyddiau natur, pa un ai yn gorffoledig neu yn anghorffoledig, ac o'u holl berthynasau, a'u

hymddibyniaethau, a'u deddfau, a'u gweithrediadau, pa un ai bywydol, neu ddifywyd, deallgar neu anneallgar; cofleidia wybodaeth o bob meddwl a dymuniad, o bob teimlad a chyffroad, sydd yn bodoli yn mhlith yr holl aneirif dorfeydd o fodau byw yn yr holl fydoedd; crafanga o fewn ei anfeidrol allu sefyllfa [bresennol bob rhyw un mymryn, ei briodoleddau a'i ansoddau, yn mhob planedau a heuliau, a chyfundraethau a chreadigaethau, yn uchelderau a dyfnderau annherfynol anfeidroldeb ei hun. Ond nid hyn yw yr oll; cymmera i mewn a aeth heibio yn gystal â'r mynedol; cyflawnder o bob gwybodaeth a gofleidia barhad diddiwedd a fu—cefnfor annherfynol o eangder—anfeidroldeb o ddefnyddiau—tragywyddol a dibaid weithrediadau pob mymryn—gwybodaeth o gywir gyfiwr y bydyssawd megys y cyfan, ac yn ei holl ranau yn mhob meidyn dilynol o'r presennol yn ol trwy oesoedd diderfyn yn ddiddechreuad. Ond rhaid i ni beidio aros yma; cyflawnder o bob gwirionedd a gofleidia wybodaeth o bethau i ddyfod; a'r holl fydoedd a ymgorffolir, a waredir, ac a ogoneddir, o'r holl gyfreithiau tragywyddol, gweithrediadau, a chyfnewidiadau pob mymryn o sylwedd mewn bodoliaeth yn mhob moment ddilynol trwy oesoedd tragywyddol na fydd diwedd iddynt. Hyn, mewn cyssylltiad â'r presennol a'r hyn a aeth heibio, yw yr hyn a gyfansodda "bob gwirionedd"—hyn yw y wybodaeth anfeidrol sydd yn preswylio yn Nghrist; a hyn yw yr hyn a dderbyniodd Efe pan roddwyd y cyflawnder iddo Ef. Ioan a'n hysbysa am yr amser y rhoddwyd y cyflawnder hwn. "A myfi, Ioan, a ddygais dystiolaeth, ac wele, y nefoedd a agorwyd, a'r Ysbryd Glân a ddisgynodd arno Ef, ar ffurf colomen, ac a eisteddodd arno Ef, a daeth llais allan o'r nef, gan ddywedyd, Hwn yw fy anwyl Fab. A myfi, Ioan, a ddygais dystiolaeth iddo Ef dderbyn cyflawnder gogoniant y Tad; ac Efe a dderbyniodd bob gallu, yn y nef ac ar y ddaear, a gogoniant y Tad oedd gydag Ef, canys Efe a breswyliodd ynddo Ef" (gwa. 2). Y cyflawnder hwn o wirionedd sydd yn Dduw, a hwn a ddynsoddir, ac a elwir wrth wahanol enwau, pa rai a briodolodd yr Arglwydd iddo ei hun: hwn yw y cyflawnder o wirionedd ag sydd yn cyfansoddi yr unig wir a'r bywiol Dduw, ac hebddo Ef nid oes Duw. Efe a breswylia mewn myrddiynau aneirif o Demlau, ac y mae yn yr holl fydoedd ar yr un meid-

yn. Efe sydd yn oll, a thros oll, a thrwy bob peth, a'r gallu trwy yr hwn eu llywodraethir. Efe sydd yn nynsoddiaeth y Tad yn yr oll o'i gyflawnder, sef Ysbryd y gwirionedd. Duw yw Gwirionedd, a Gwirionedd yw Duw, a'r bydyssawd defnyddiawl yw ei babell: bwriadwyd i ddynion fod yn babellau neu demlau iddo, os y derbyniant Ef. Iesu a ddywedodd, "Yr wyf fi yn y Tad, a'r Tad ynof fi, a'r Tad a mi un ydym: y Tad, o herwydd iddo roddi i mi o'i gyflawnder" (gwa. 1). Galwyd Iesu yn Fab, "o herwydd na dderbyniodd o'r cyflawnder ar y cyntaf;" a galwyd ef yn Dad o herwydd iddo wedi hyny ei dderbyn. Fel hyn mae yr enw Tad yn cael ei roddi i'r Mab, nid o herwydd tabernacl, ond o herwydd y cyflawnder o wirionedd, yr hwn yw y Tad yn preswylio ynddo.

*(I'w barhau.)*

*Cyf.* D. E. JONES.

---

## YR YMFUDIAD.

DEALLWN oddiwrth y *Star* am yr wythnos hon, na fydd £10 y pen yn ddigon er ymfudo yn gwmnioedd y tymmor dyfodol, eithr y rhaid cael £13 y pen. Gorfuwyd benthycia arian yn yr ymfudiad diweddaf, yr hyn oedd gan y Saint i dalu yn ol wedi cyrhaedd pen eu taith. Mae y Llywydd Young wedi cymmeradwyo mesurau y Llywydd S. W. Richards mewn cyssylltiad â'r ymfudiad diweddaf.

Gan fod y Llywyddiaeth yn Seion wedi trefnu er i gryn arian gael eu defnyddio at y Drysorfa Ymfudol Barhaus y tymmor nesaf, nid ystyrir yn ddoeth i ymddibynu ar y Llywyddiaeth am help at yr ymfudiaeth yn gyffredin. Gofyna hyn am i drefniadau gael eu gwneyd yma gogyfer â thraul yr holl daith, yr hyn ni fydd yn llai nâ £13 y pen. Pawb, gan hyny, a ymfudant y tro nesaf ar eu cost eu hunain, dan drefniadau cyffelyb i eiddo cwmnioedd £10 y tymmor diweddaf, a ofynir i dalu £13 yr un, yr hyn a ystyrir, yn ol y prawf a gafwyd y llynedd, yn ddigon i dalu yr holl draul dan reoleiddiad doeth. O'r swm hono, dylai £8 gael eu danfon i Liverpool, trwy Lywydd Cymru, cyn y 25ain o Ragfyr nesaf, fel y galler eu gyru er mwyn prynu gweddenau, &c.

Gellir cael atebion i lawer o gwestiynau ynghylch ymfudo,

yn y *Star* a'r UDGORN am y llynedd, y rhai y dylai y Bugeiliaid a'r Llywyddion yn neillduol eu darllen, fel y gallont gyfarwyddo y Saint.

Dechreua amser hwylio, fel yn y gauaf diweddaf, yn Ionawr, a therfyna yn Mawrth.

---

## Y DRYSORFA YMFUDOL BARHAUS.

YMDDENGYS fod y Drysorfa hon wedi ei harfaethu i gyflawni gwaith mawr yn nghasgliad Israel. Y gauaf dyfodol a fwyha ei gweithrediadau yn ddirfawr. Mewn llythyr a dderbyniwyd oddiwrth Lywydd Cwmpeini y Drysorfa hon, bwriedir i 170 o bersonau gael eu trosglwyddo gan y drysorfa, yr hyn a ddengys fod y Saint yn Seion yn teimlo dros ymgasgliad Saint y wlad hon.

Ni ddymuna y Llywydd S. W. Richards i'r manteision ymfudol fod yn llai nag y buont; ac am hyny, bwriada ymfudo y sawl nad allant godi ond £10 y pen, o dan drefniadau Cwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus. Gofynir iddynt i arwyddo rhwym-ysgrifau, er ymrwymo i dalu yn ol gyflawn gost eu holl daith i'r Cwmpeini yn y Dyffryn; a'r £10 a dderbynir yma a osodir i'w *credit*, er ymsefydlu, os dewisant. Gofyna yr un swm o arian (£13) er trosglwyddo ymfudwyr y Drysorfa, â chwmnioedd ereill, a bydd y ddarpariaeth yn gyffelyb. Ni ddysgwylir i neb ag sydd yn meddu £13, gan hyny, i ymuno ag ymfudwyr y Drysorfa, heb osod y swm hono yn nwylaw y Cwmpeini, ar neu cyn amser cychwyn. Ni chaniateir i'r sawl a ymfudant trwy y Drysorfa Ymfudol, neu gyda y cwmnioedd £13, dros gant pwys o *luggage* ar y gwastadedd. Dylai pawb a fwriadant ymfudo o dan drefniadau Cwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus, trwy godi £10, ddanfon i'r Llywydd Phillips £8 yr un, y cyfleusdra cyntaf; a'r £2 weddill yn Liverpool wrth ymfudo.

Er ymgasglu y rhai na allant godi ond £10 (y rhai a gyfansoddant ran fawr o'r ymfudiad nesaf), bydd y Llywyddiaeth yn Liverpool dan yr anghenrheidrwydd o fenthycia er gwneyd i fyny y diffyg o £3 y pen. Gall hyn gael ei wneyd er mantais i'r rhai hyny a chwennychant gymmeryd eu harian ganddynt i'r Dyffryn, trwy roddi yr unrhyw i'r Llywydd Richards, a

chymmeryd ei *ddrafft* ef ar y Llywydd Brigham Young. Dyma y ffordd ddiogelaf o drosglwyddo arian; canys y mae perygl i'w colli fel arall. Pe gwnelai pawb felly, mae yn ddiau y gellid gwneyd hefyd lawer o les cyffredinol.

Mae amryw Saint a chanddynt arian yn y Banc, ar ychydig iawn o log, yn dysgwyl yr amser cyfleus i ymfudo. Byddai yn well er lles y cyfryw eu gosod yn nwylaw Cwmpeini y Drysorfa Ymfudol, a byddent yn barod iddynt pan ymfudent. Pwy, yn meddu y wreichionen leiaf o ffydd yn ngwaith y dyddiau diweddaf, nad ystyriai Deyrnas Dduw y lle diogelaf i'w drysorau? Os yw y trysor yn nheyrnas Dduw, dichon y ceir y galon yno hefyd.

Dywedir gair hefyd wrth ddosparth arall o Saint—y rhai a fwriadant godi £10 neu £13, ac ymfudo dan gyfarwyddyd Cwmpeini y Drysorfa Ymfudol. Pwy o'r rhai hyn a feddant ffydd i wneyd *rhodd* o'u harian i'r Drysorfa, yn lle eu dysgwyl yn ol yr ochr draw? Mae y Cwmpeini yn foddlawn eu diwallu hwy o'r hyn sydd yn fyr, heb yr hyn rhaid fuasai iddynt aros blwyddyn arall. Paham na ddylent hwythau fod yn foddlawn cynnorthwyo ereill yn eu tro?

Gobeithir y dysga y Llywyddion a'r Henuriaid yr egwyddorion hyn i'r Saint, gan edrych i'r *Star* am sylwadau y Llywydd Richards yn fanylach; oblegid nid yw y dernyn hwn ond talfyriad o'r hyn a ysgrifenodd ef yn y *Star* am yr wythnos hon.

---

## ENGLYNION.

Hyll fradwr yw'r gwr a garo—wendid
  Mewn undyn lle'r elo;
Rhydd hyn faeth i'w archwaeth o,
Ganwaith yn well nâ'i ginio.

Gweniaith rydd am y geiniog,—llawn dichell,
  Neu duchan afrywiog;
A dwyn ei gledd dan ei glog,
Yn abar dauwynebog.

*Llanelli.* DEWI ELFED.

## AMRYWIAETHAU, &c.

YR YMFUDIAD.—Yr ydys yn barod yn awr i dderbyn y rhag-dâl o bunt oddiwrth y rhai nad ydynt yn ymfudo trwy y Drysorfa, neu y Cwmnioedd £13. Bydd y lleill yn talu eu rhag-dâl yn yr £8 a ofynir yn mlaen llaw.—Dywedir wrth y rhai sydd am ddarparu gweddeuau, &c., eu hunain, am ddanfon modd trwy Liverpool, i Oruchwyliwr yr Eglwys yn St. Louis, a bydd eu gweddeuau yn barod ar y Frontiers. Bydd eisieu dim llai nâ £45 er cael un wagen, dwy iau o ychen, a dwy fuwch. Dylai y swm uchod gyrhaedd Liverpool, o bellaf, ar y 25ain o Ragfyr, Gall yr ymfudwyr hyny brynu eu lluniaeth eu hunain yn y Taleithiau.

HWYLIA y llongaid gyntaf o Saint o Liverpool, oddeutu yr 20fed o Ionawr nesaf.

AT Y LLYWYDDION A'R DOSPARTHWYR.—Gan fod llawer iawn o ddyled allan am Lyfrau Cymraeg a Saesneg, erfyniwn y gwnewch bob ymdrech yn eich gallu i glirio y cyfan erbyn diwedd y flwyddyn; oblegid y mae eisieu yr arian i mewn ar yr Eglwys, er eu defnyddio at wahanol achosion. Byddai yn bleserus genym ninnau adael yr hen wlad, a'r dyled oll wedi ei dalu. Hyderwn nad oes achos ychwanegu yn bresennol, ond y teimla pawb i wneyd eu goreu ynghylch hyn.

---

TALIADAU O TACH. 18 HYD TACH. 24.—Pontytypridd, 10s; Aberamman, 3s; Dowlais, 5s; Rymni, 4s; Georgetown, 5s 2c.—Cyfanswm, £1 7s 2c.

☞ Mae y brawd R. Morris yn erfyn yr ymdrecha pawb i ymofyn y llyfrau a rwymodd iddynt, o hyn i ddiwedd y flwyddyn, gan y bwriada ymfudo.—Mae llyfrau amryw ar law gyda ninnau hefyd, ac erfyniwn yr un peth. Bydd raid eu gwerthu am yr hyn a geir am danynt, a thalu y gweddill yn ol, os na ddeuir i'w hymofyn o hyn i hyny.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 23.] RHAGFYR 3, 1853. [CYF. VI.


## DYFYNIADAU O AIL EPISTOL ORSON PRATT,

AT Y SAINT GWASGAREDIG YN YR UNOL DALEITHIAU A'R YNYSOEDD PRYDEINIG,—YN ANERCH.

[O'r "Seer."]

FRODYR yn yr Offeiriadaeth, ymgedwch yn bur a difrycheulyd gerbron Duw; ac os gwyddoch am unrhyw ddyn yn yr Eglwys, eisoes yn meddu gwraig, yn ceisio ymgyfammodi ag unrhyw fenyw arall, gwybyddwch yn ddiau ei fod wedi troseddu; ac onid edifarha, torer ef allan o'r Eglwys.

* * * * * * *

Nac ymwnewch ddim â'r personau hyny sydd yn ymyraeth ag ysbrydion dewiniaeth, dan yr enwau o "Fesmeryddiaeth," "Electro-Biology," "Ysbryd-gnociadau," "Bwrdd-symudiadau," "Ysgrifen-gyfryngau," &c.; canys hwy a dywyllant eich meddyliau, ac a'ch arweiniant i ddystryw: ysbrydion y tywyllwch ydynt, wedi eu gollwng yn rhyddion ar y genedlaeth hon, oblegid eu drygioni; a hwy a amlhant yn fwy-fwy ar y ddaear hyd ddyfodiad Crist, megys y rhagfynega yr ysgrythyrau.

* * * * * * *

Cyflawn ddiwallwch eich hunain â phob math o lyfrau ysgol buddiol i'ch plant, ynghyd â llyfrau hanesiol a chelfyddydol o bob desgrifiad; eithr gadewch ffug-draethodau a gau-lyfrau ar ol i foddio archwaeth lygredig plant y tywyllwch, eneidiau y rhai a ymhyfrydant mewn celwyddau a ffug-hanesion, yn fwy o lawer nag yn ngwirioneddau mawrion y nef.

Boed i'r Henuriaid a'r swyddogion bregethu ffydd, edifeirwch, bedydd, ac egwyddorion cyntaf yr Efengyl, a'r cyfryw athrawiaethau ag ydynt yn eglur a rhwydd i'w deall; ac os chwennych y bobl ddysgu dirgelion dyfnion y deyrnas, boed iddynt gofleidio yr Efengyl, a myned i fyny i fynydd tŷ yr Arglwydd. Os chwennychant ddysgu neillduolion Priodas Nefolaidd, bedyddio dros y meirw, ac athrawiaethau cyffelyb, cyfeiriwch hwynt at ein llyfrau argraffedig, yn mha rai y gallant ddarllen y pethau hyn wrth eu pleser. Cofiwch nad oes genych chwi amser i bregethu ac egluro yr holl bethau hyn i'r bobl; canys danfonodd Duw chwi i bregethu edifeirwch ac egwyddorion cyntaf iachawdwriaeth; ac os na dderbynia dynolryw y pethau hyn, ni fydd y pethau mwyaf o un lles iddynt. Dichon y bydd amserau pan fydd genych i amddiffyn eich hunain yn ngwyneb ymosodiadau dynion drygionus ar y pynciau hyn; gwnewch, ar amserau felly, megys y cyfarwydda doethineb, a gofalwch i gyssylltu â'ch amddiffyniad y cyfryw egwyddorion eglur o athrawiaeth, ag a fo yn debyg o wneyd lles i'r bobl. Gweision call a ddilynant gynghorion da a doeth, ac a bregethant trwy ddawn a gallu yr Ysbryd Glân; eithr y rhai na sylwant arnynt, a bregethant eu ffolineb eu hunain mewn hyfforddiad ac esiampl.

* * * * * * *

Mae arwyddion yr amseroedd yn ddaroganus, ac yn eglur fynegi cwymp y cenedloedd, a dadymchweliad teyrnasoedd, amherodraethau, a gwerin-lywodraethau, yn ddarpariadol i ddyfodiad Crist, a'i deyrnasiad personol ar y ddaear. Dylai pob un o'r Saint, gan hyny, fod yn effro i gyflawni ar frys, ac mewn cyfiawnder, bob dyledswydd a ofynir ganddynt.

Yn mysg pethau ereill, mae llawer o'r Saint ag nad ydynt yn talu y sylw lleiaf i'r hyn a ddywedodd Duw mewn dadguddiad a enwir "*Gair Doethineb*;" ymddygant tuag ato yn hollol ddifater; ïe, gwaeth nâ hyny, rhai hyd y nod a fostiant eu hanufydd-dod i'r cynghor hwn, ac a chwarddant braidd am ben y sawl a gynnygiant i'w ufyddhau. Druain o honynt! fe ddaw dydd pan y galarant ac y cwynfanant, a hyny hefyd pan fyddo yn rhy ddiweddar i adferu bywyd a gam-dreuliwyd; pan y dysga yr angel dinystriol iddynt fod pob gair o eiddo Duw yn meddwl rhywbeth, ac nas gellir esgeuluso un o'i ymadroddion

ef yn ddigosp. Mae yn rhaid cael diwygiad mawr yn mhlith yr holl Saint o barthed y peth hwn, yn gystal â llawer o bethau ereill, cyn y gallant ddysgwyl mwynhau llawer o fendithion mawrion y dyddiau diweddaf.

Y mae ereill a gyfenwant eu hunain yn Saint, ag nad ydynt yn gweddio yn eu teuluoedd nac yn y dirgel, eithr yn gyn oered â'r gogledd-wynt, o ran eu dyledswyddau tuag at Dduw, tuag at eu teuluoedd, a thuag at yr Eglwys. Gwell fyddai i'r cyfryw fod allan o'r Eglwys, nag ynddi; oblegid Duw a'u chwyda allan o'u enau, megys ffrwyth llygredig a ddiflasodd.

Y mae ereill sydd â'u henwau yn gofrestredig yn mysg y Saint, ag ydynt yn meddwl mwy am eu heiddo nag am iachawdwriaeth. Dyweda y cyfryw yn eu calonau, "Ni a aroswn ychydig cyn yr ymgasglwn i Utah; dichon y gyrir y Saint ymaith etto, ac ni a gollwn ein heiddo, os awn. Gallwn ddweyd yn well pa fodd y bydd pethau mewn ychydig o flynyddau i ddod; ac os meddyliwn y bydd ein heiddo yn ddiogel, ni a anturiwn yno." Gwae y cyfryw, canys oni edifarhant ar frys, hwy a ddinystrir, a'u heiddo gyda hwynt. Nid yw y fath ragrithwyr cybyddlyd yn deilwng o deyrnas Dduw, nac un o'i bendithion, eithr hwy a ant i waered i uffern i gadw cwmni i'r gwr goludog, yn lle cael eu casglu i fynwes Abraham gyda Lazarus dlawd. Mae yn rhaid i'r Saint ddysgu un wers, sef, y rhaid i bawb a ddymunant fyned i mewn i deyrnas Dduw foddloni aberthu pob peth er ei mwyn; a'r sawl nad yw foddlawn i wneuthur hyn, a fetha yn ddiau, a'i obeithion a ddiflanant ac a ddarfyddant.

Yn olaf, anwyl frodyr, gadewch i mi eich annog, gyda holl ddifrifoldeb gwas gostyngedig i Dduw, yr hwn a ddwys deimla dros eich iachawdwriaeth, i ymgadw oddiwrth bob drwg—i fod yn esiamplau o gyfiawnder gerbron Saint a phechaduriaid. Darllenwch Lyfr Mormon, a'r dadguddiadau a'r prophwydoliaethau a roddwyd trwy y Prophwyd Joseph, ac ufyddhewch i'r unrhyw. Talwch y sylw difrifolaf i gynghorion y Brif Lywyddiaeth,—i'r Deuddeg, ac i holl awdurdodau ffyddlawn yr Eglwys. Gwnewch bob ymdrech er ffoi o ganol llygredigaethau y Cenedloedd, ac i gael i chwi eich hunain etifeddiaeth dragywyddol yn mhlith pobl Dduw; canys dydd y drygionus a gerddodd yn mhell—eu haul yn fuan a fachluda yn nghanol

cymylau a thywyllwch dudew—a nos hirfaith ac echryslawn a'u harosa; eithr ar y sawl a ofnant yr Arglwydd, ac a gadwant ei orchymynion, y cyfyd haul cyfiawnder, a'u dydd a fydd yn ogoneddus; canys ni fachluda eu haul mwyach; a Duw a fydd iddynt yn oleuni tragywyddol, yr hwn a lewyrcha byth.

ORSON PRATT.

*Washington, Hyd.* 1, 1853.

---

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 353.]

101. AWN yn awr yn mlaen i ddangos, oddiwrth ddadguddiadau newyddion, fod y Saint i gael gwybodaeth gyfartal â'r Tad a'r Mab. Yn awr o ran yr ydym yn gwybod; mor bell ag y preswylia gwirionedd ynom, mor bell â hyny y preswylia y Tad a'r Mab ynom. Gwrandawer pa beth a ddywed yr Iesu: "Wele, plant bychain ydych chwi, ac nis gallwch ddwyn pob peth yn awr, rhaid i chwi gynnyddu mewn grâs ac mewn gwybodaeth o'r gwirionedd. Nac ofnwch, blant bychain, canys fy eiddo i ydych, a mi a orchfygais y byd, ac yr ydych chwi o'r rhai hyny a roddes y Tad i mi; ac ni chollir neb o'r rhai a roddes y Tad i mi: a'r Tad a mi un ydym: myfi wyf yn y Tad, a'r Tad ynof fi; ac yn gymmaint ag i chwi fy nerbyn i, yr ydych chwi ynof fi, a minnau ynoch chwi; o herwydd paham yr wyf fi yn eich canol, a mi wyf y Bugail da, a maen Israel. Pwy bynag a adeilada ar y graig hon ni syrth byth; a dyfod mae y dydd pan glywoch fy llais, ac y gweloch fi, ac y gwybyddwch fy mod i" (Ath. a Chyf., dos. xvii, gwa. 8). Arddangosir ni yn y dadguddiad hwn megys plant bychain yn unig, yn analluog etto, i ddwyn pob peth, ond a orchymynwyd i gynnyddu mewn grâs a gwirionedd; a dywedwyd yn gymmaint â'n bod wedi ei dderbyn Ef, ein bod ynddo Ef, ac Efe ynom ni. Megys ag y mae y Tad a'r Mab yn cael eu galw yn Wirionedd, yn gymmaint â'n bod ni yn derbyn gwirionedd, maent hwy yn preswylio o'n mewn ni. Lle mae ond gradd fychan o oleuni a gwirionedd yn preswylio o'n mewn ni, nid oes ond cyfran fechan o'r Tad a'r Mab yn aros ynom ni; fel y cynnyddwn o râs i râs, ac o wirionedd i wirionedd, felly yn yr un modd yr ydym yn etifeddu mwyfwy o ranau o Dduw; a phan y derbyniwn gyflawnder o

bob gwirionedd, yna holl gyflawnder Duw a breswylia ynom, sef y Tad a'r Mab. Y cyflawnder o bob gwirionedd ynom ni a'n gwna ni yn Dduwiau, cyfartal yn mhob peth â dynsoddiaethau y Tad a'r Mab; ac nis gallem fod yn amgen nâ chyfartal, canys Efe yw yr un Duw pa un a breswylia ynom ni, ag y sydd yn preswylio ynddynt hwy; yn lle preswylio mewn dau o dabarnaclau, o dan yr enwau o Dad a Mab, yna Efe a breswylia yn mhabellau ychwanegol y Saint. A lle bynag y preswylia Efe mewn cyflawnder, yna byddai o anghenrheidrwydd gyfartalwch, mewn doethineb, gallu, gogoniant, a llywodraeth.

102. Dyfynwn enghraifft arall i ddangos pa fodd mae i ni gyrhaedd y cyflawnder hwn. "A daw oddiamgylch, os byddwch chwi yn ffyddlon, chwi a dderbyniwch y cyflawnder o dystiolaeth Ioan. Yr wyf yn rhoddi i chwi yr ymadroddion hyn, fel byddo i chwi ddeall a gwybod pa fodd i addoli, a pha beth i addoli, fel y delech at y Tad yn fy enw i, ac mewn amser priodol y derbynioch o'i gyflawnder Ef; canys os bydd i chwi gadw fy ngorchymynion, chwi a dderbyniwch o'i gyflawnder Ef, a chewch eich gogoneddu ynof fi, megys yr wyf fi yn y Tad; gan hyny, meddaf i chwi, chwi a dderbyniwch râs am ras" (Ath. a Chyf., dos. lxxxiii, gwa. 3). Y cyflawnder sydd i gael ei gyrhaedd ar yr ammod o gadw ei orchymynion. Bod i ni dderbyn y cyflawnder yn yr un ystyr ag y derbyniodd Efe ef, sydd amlwg oddiwrth y ffaith fel pan dderbyniom ni y fendith hono, yr Iesu a ddywed, fel ein gogonedder ni ynddo Ef fel yr oedd Efe yn y Tad. Yn yr ymadrodd nesaf cawn dystiolaeth gadarnach etto; yr Iesu a ddywed, "Ioan a ddyg dystiolaeth am danaf fi, gan ddywedyd, Efe a dderbyniodd gyflawnder o wirionedd, ïe, sef o bob gwirionedd, ac nid yw un dyn yn derbyn cyflawnder, oni cheidw ei orchymynion. Yr hwn a geidw ei orchymynion sydd yn derbyn gwirionedd a goleuni, hyd oni ogoneddir ef mewn gwirionedd, a gwybodaeth o bob peth." Mae hyn mor amlwg ag y gall iaith ei wneyd. Pan wireddir yr addewid hon, y Saint fyddant yn gwybod pob peth fu, sydd, ac a ddaw; ac yna ni fydd un bôd mewn bodoliaeth, a fydd yn mlaen arnynt hwy mewn gwybodaeth a doethineb. Drachefn, dywed yr Iesu, "Os bydd eich llygad yn syml at fy ngogoniant, eich holl gyrff a lenwir â goleuni, ac ni fydd dim tywyllwch ynoch, a'r corff hwnw ag sydd wedi ei lanw â goleuni sydd yn amgyffred pob

peth." Ac etto drachefn, "Y dydd a ddaw pan fydd i chwi amgyffred hyd y nod Duw; gan gael eich bywhau ynddo Ef a thrwyddo Ef" (Ath. a Chyf., dos. vii, gwa. 12, 18). Nid yw yn anghenrheidiol lliosogi ymadroddion, o herwydd dadguddiadau, hen a diweddar, ydynt yn llawnion ar y pen hwn. Digon a ddyfynwyd i eglurhau y bydd i oleuni y Saint gynnyddu yn ddysclaeriach dysclaeriach hyd y perffaith ddydd, ar y cyfryw amser eu goleuni fydd lawn, ac nas gall o hyny allan gynnyddu mewn dysclaerdeb. Pa faint mwy boddlonus ydyw i'r meddwl i fyfyrio am filiynau ar filiynau o fydoedd gogoneddedig, a phob un wedi ei boblogi gyda myrddiynau o fodau wedi eu llenwi â holl gyflawnder Duw neu Wirionedd, nag ydyw i feddwl am danynt oll yn cynnyddu mewn gwybodaeth, heb bosiblrwydd byth o gyrhaeddyd y cyflawnder yn oes oesoedd. Y perffeithrwydd a'r cyfartaledd hyn mewn gwybodaeth yn mhlith y Duwiau o bob oesau a bydoedd, a wasanaetha i gynnyrchu perffaith unoliaeth yn eu mysg hwynt oll. Gan gael cyfartal wybodaeth, cawsent wrth gwrs gyfartal ddoethineb a chyfartal allu, a gweithredent gyda'r undeb perffeithiaf, a chyssondeb, a chynghanedd yn mhob peth. Ond pa anhawsderau afrwydd a dyryswch a fyddai, pe gwahaniaethent mewn gwybodaeth, a'r oll o honynt yn cynnyddu. Yr unoliaeth, mor anghenrheidiol er heddwch a threfn dda y bydoedd nefol, nis gallasai fodoli; un o ddiffyg gwybodaeth ofynol a ddadwnelai yr hyn ag oedd arall o uwch gwybodaeth wedi ei wneyd; ar yr egwyddor gynnyddol, nis gallent byth gael eu gwneyd yn berffaith yn un, yn oes oesoedd. Fel hyn profasom yn helaeth fod galluoedd dyn nid yn unig yn dragywydd, ond yn anfeidrol.

103. Maintiolaeth annherfynol defnydd hunan-symudol, deallgar, yn meddiannu galluoedd annherfynol, ac yn bodoli yn dragywyddol, rhaid y bu yn ymrwymedig mewn rhes ddiddiwedd o weithrediadau. Nid yw o bwys pa mor bell y gallwn ni, yn amgyffred ein meddyliau, fyned yn ol i ddyfnderoedd diddiwedd y parhad a fu, yr ydym etto yn rhwymedig i ganiatâu, fod pob mymryn o ddefnydd ag sydd yn awr yn bodoli, ei fod yn bodoli y pryd hyny; ei fod y pryd hyny yn alluog o hunan-gyffroad; ei fod y pryd hyny yn alluog i ymarferiad galluoedd tragywyddol ei natur, ac o fynediad yn mlaen a thuag i fyny, hyd oni fyddai yn berffaith yn holl gyflawnder

doethineb, gwybodaeth, a gwirionedd. Rhes ddiddiwedd o weithrediadau a wrthyd weithrediad cyntaf. Os yr ymgymmerir i fod cyfnod pan y dechreuai defnydd gyntaf weithredu, yna y dilyniad olynol o weithrediadau a fyddent yn derfynol, ac nid yn ddiddiwedd, ac yna y buasai parhad diddiwedd yn rhagflaenu y weithred gyntaf hono, yn ystod pa un, pob peth a fuasai mewn sefyllfa gysgiedig, neu sefyllfa o lonyddwch hollol. I dybied fod holl ddefnyddiau ysbrydol y bydyssawd, pa rai ydynt yn awr mor nerthol a bywiog, wedi bod unwaith mewn llonyddwch tragywyddol, a ymddangosai yn wrthun yn y gradd uchelaf. Mae pob peth yn awr mewn cyffroad; pob peth sydd yn fywiog i'r eithaf: pob peth sydd yn gweithredu o dan ryw ddeddf, neu yn cael eu tywys gan ryw gymhelliad neu ewyllys. Y fath beth â mymryn neu ddefnydd anweithgar sydd anadnabyddus yn y bydyssawd. Os y bodolodd pob defnydd unwaith yn dragywyddol heb fod mewn gweithrediad, pa beth a barodd iddo wneyd yr ymdrech gyntaf? Pa fodd y daeth y mymryn cyntaf i symud ei hun? Paham, wedi diddiwedd gyfnod a fu, y darfu iddo un amser ar unwaith i benderfynu i symud? Paham y gwnelai defnyddiau meddyliol, deallgar, galluog o hunan-gyffroad, fodoli er pob tragywyddoldeb, heb ymarfer eu cymhwysderau? Nid neb, gan hyny, ar ystyriaeth deg, a all dybied am un foment, fod dechreuad i wneuthuriadau a gweithrediadau sylwedd. Nis gallasai fod gweithrediad cyntaf neu wneuthuriad cyntaf. Olyniad gweithrediadau a gwneuthuriadau rhaid y buont yn ddiddiwedd.

104. Wedi dangos yn yr ymadrodd blaenorol, fod yn rhaid y bu rhes ddiddiwedd o wneuthuriadau yn mhlith defnyddiau deallgar ac hunan-symudol natur, ymofynwn yn nesaf i natur y gweithrediadau rhai'n. Y gweithrediadau rhai'n a allasent fod yn ddirfawr syml, neu gallasent fod yn gudd ac anamlwg, yn eu natur: gallasent fod yn effaith pob rhyw un mymryn yn gweithredu ar antur o dan neb rhyw gyfundrefn neillduol o gyfreithiau, neu gallasent fod yn ganlyniadau o gyduniad pentyrau mawrion o sylweddau yn gweithredu o dan gyfreithiau doeth a synwyrol: gallasent fod wedi gweithredu mewn cyflwr anghorffoledig, neu gallasent fod wedi gweithredu mewn sefyllfa bydoedd ymgorffoledig, a dynsoddiaethau, a bodau, rywbeth yn debyg i'r hyn sydd yn awr yn bodoli. Gwneu-

thuriadau syml ar antur heb gyfraith, a arddangosai ond gradd fechan o ddealltwriaeth; tra y gwnelai y gwneuthuriadau o'r fath sydd yn awr yn bodoli, ddangos rhywbeth sydd a chanddo ddoethineb, gwybodaeth, a gallu anfeidrol; mewn geiriau ereill, profai y bodoliaeth o Dduw. Os bu y rhesi diddiwedd hyn o wneuthuriadau bob amser yn cael eu tywys gan yr un doethineb a'r gallu pa un sydd yn awr yn hynodi gweithredoedd y bydyssawd, yna rhaid y bu bob amser gyflawnder o wybodaeth a gwirionedd yn bodoli yn rhywle, naill ai mewn sylweddau corffoledig neu anghorffoledig. Nis gallwn brofi oddiwrth ymddangosiadau presennol natur, y bodolai Duw bob amser. Yr arddangosiadau presennol o eiddo natur yn unig a brofant fod Duw yn awr yn bodoli, ac y bodolai Duw am lawer o oesau a aethant heibio, yr hyn a brofir yn eglur gan ei weithredoedd, llawer o ba rai a ellir brofi eu bod yn llawer o filoedd o flynyddoedd o oed. Ond pan awn yn ol i oesoedd mwy pellenig etto mewn henafiaeth, nid yw natur yn ein hysbysu pa un a oedd yn yr oesoedd hyny Dduw a chanddo gyflawnder gwybodaeth neu nad oedd. Cawsom ein hysbysu yn yr ymadroddion rhagflaenol, fod dynion trwy ufydd-dod yn cyrhaedd cyflawnder o bob gwybodaeth, a dyfod yn Dduwiau. Yn awr, y mae amser cyn y cyrhaeddo y naill ddyn y cyflawnder hwn pa un a'i gwna ef yn Dduw. Duwiau dynsoddol, ynte, sydd â chanddynt ddechreuad: bodolant yn gyntaf megys ysbrydion, yna megys dynion wedi eu gwisgo â chnawd marwol, yna megys Duwiau wedi eu gwisgo â phabellau anfarwol. Os gall un Duw gael dechreuad, y gofyniad a gyfyd, Ai ni allai yr holl Dduwiau ereill fod wedi cael dechreuad? Gwneuthuriadau ac ymddangosiadau y bydyssawd yn unig sydd yn ein dysgu y bodolai Duw dros ychydig o oesau a aethant heibio; ac os na chawsom un goleuni arall, y gofyniad a ddelai yn naturiol iawn, ai nid oedd Duw cyntaf? Ac os felly, ar ba gyfnod o amser y cyrhaeddodd efe i gyflawnder gwirionedd, a dyfod yn Dduw? Pa beth ydoedd sefyllfa y bydyssawd cyn i un o sylweddau natur gyrhaedd y cyflawnder hwn? Yn absennoldeb dadguddiad gyda golwg ar dragywyddoldeb blaenorol Duw, y fath ofyniadau â'r rhai blaenorol yn annocheladwy a gyfodent yn y meddwl.

105. Os bu cyfnod erioed pan nad oedd dim un o sylweddau

natur wedi meddiannu cyflawnder o wirionedd, yna yn flaenorol i'r cyfnod hwnw, gallasai y bydyssawd fod wedi cael ei lywodraethu gan ddeddfau îs nâ'r cyfryw pa rai y mae yn awr yn eu cyrhaeddyd. Ond ymddengys yn gwbl annhebygol fod yn mhlith maintiolaeth annherfynol o ddefnyddiau, yn meddiannu galluoedd annherfynol, na fuasai yno neb pa rai a fuasent wedi perffeithio eu hunain mewn gwybodaeth a gwirionedd, er eu bod wedi cael parhad diddiwedd yn yr hwn y gallasent fod wedi ei gyflawni. Ymddengys yn llawer mwy cysson i gredu fod gwybodaeth annherfynol er tragywyddoldeb wedi bodoli yn rhywle, naill ai mewn dynsoddiaethau ymgorffoledig neu mewn defnyddiau anghorffoledig.

106. Cawn yn awr brofi, wrth ddadguddiad a roddwyd trwy *Joseph, y Gweledydd*, y bu Duw er pob tragywyddoldeb, neu mewn geiriau ereill, fod Duw yr hwn erioed ni chafodd ddechreuad. Mae un dadguddiad yn dechreu fel hyn:—"Gwrandewch a rhoddwch glust i lais yr hwn sydd *o bob Tragywyddoldeb* i bob tragywyddoldeb, yr Ydwyf Mawr, sef Iesu Grist, goleuni a bywyd y byd" (Ath. a Chyf., dos. lix, gwa. 1). Dyma brawf pendant, ynte, fod Iesu Grist er pob Tragywyddoldeb. Yr ydym yn wybodus fod rhai yn ystyried y geiriau "pob Tragywyddoldeb" a chanddynt gyfeiriad at gyfnod derfynol o amser. Y cyfryw a dybiant y bu llawer o dragywyddoldebau yn olynol y naill i'r llall: os yw y dyb hon yn gywir, yna y cyfnod a fynegir gan y geiriau "o bob Tragywyddoldeb," nis gallai fod heb ddechreuad. Ond mae yn amlwg i'n meddwl, fod y geiriau wedi eu bwriadu i drosglwyddo y meddylrith am y parhad diddiwedd a fu; neu mewn geiriau ereill, parhad heb ddechreuad iddo, pan yn llefaru mewn cyfeiriad at y goleuni a'r gwirionedd a breswyliai ynddo Ef. Mai hyn yw y gwir feddylrith a fwriadwyd i gael ei drosglwyddo, sydd amlwg oddiwrth draethiadau ereill Crist, un o ba rai sydd yn darllen fel y canlyn:—"Gwrandewch ar lais Iesu Grist. eich Pryniawdwr, yr Ydwyf Mawr, yr hwn y mae braich ei drugaredd wedi gwneyd Iawn dros eich pechodau." Yn mhlith y pethau a eglurwyd yn y dadguddiad hwn, yr Iesu a ddywed, "I mi fy hun nid oes diwedd ar fy ngweithredoedd, na DECHREUAD CHWAITH" (Ath. a Chyf., dos. x, gwa. 1, 8). Nis gall iaith brofi yn amlycach fod Iesu Grist heb ddechreuad. Ei weithredoedd

"sydd heb ddiwedd, na dechreuad chwaith." Ni fu erioed gyfnod pryd y dechreuodd Iesu Grist ei waith: ni fu erioed y gwaith *cyntaf* a gyflawnodd Efe. Rhesi heb ddechreuad nis gallant fod ag amser *cyntaf* iddynt. Yr olyniad a aeth heibio o weithredoedd diddiwedd, sydd o anghenrheidrwydd yn gwrthod gwaith *cyntaf*. Megys nas gallasai gweithred gyntaf fod, dengys yn y modd amlycaf y rhaid fod Iesu Grist wedi bodoli yn yspaid olyniad diddiwedd o oesau, ac yna nas gallasai fod oes *gyntaf* ei fodoliaeth. Y bodoliaeth diddiwedd hwn a aeth heibio o eiddo Críst sydd â chanddo gyfeiriad at y cyflawnder o wirionedd, a goleuni, a gwybodaeth, pa rai sydd yn awr yn preswylio yn ei ddynsawd. Y galluoedd rhai'n a ddynsoddir, ac a elwir yn Dduw: nid oes dechreuad gan y rhai hyn, tra yr oedd gan ei *ddynsawd* ddechreuad yn ei gyflwr ymgorffoledig, gan fod yn "Gyntaf-anedig pob creadur." Galluoedd Iesu Grist, neu mewn geiriau ereill, y cyflawnder o wirionedd, a fodolent am oesoedd diderfyn cyn i'w ddynsawd gael ei ffurfio. Cyn i gorff neu ddynsoddiaeth Crist gael ei eni yn y byd nefol, yr oedd bydoedd aneirif mewn bodoliaeth, a phob un wedi ei boblogi â myrddiynau o ddynsoddiaethau, a phob un wedi ei lenwi â holl gyflawnder Iesu Grist, neu gyflawnder o wirionedd, yr hwn a elwir wrth amrywiol enwau, megys Duw, yr Ydwyf Mawr, y Tad, y Mab, Iesu Grist, &c. Yr holl enwau hyn, yn gystal â'r rhagenwau dynsoddol Efe, Ei, ac Ef, a gymhwysir at y Cyflawnder o Wirionedd, lle bynag y gall breswylio, pa un ai mewn un babell neu mewn miliynau dirifedi. Y Duw Mawr hwn—y Cyflawnder o Wirionedd, a breswylio yn yr holl fydoedd ar yr un meidyn—a all fod yn bresennol yn mhob lle—a all fod yn mhob peth, ac oddiamgylch ogylch pob peth, a thrwy bob peth. Efe sydd yn nynsoddiaeth y Tad; Efe sydd yn nynsoddiaeth y Mab; Efe a fydd yn nynsoddiaethau ei holl Saint, pan y derbyniont hwy o'i gyflawnder Ef; ac mewn gair, Efe yw yr unig fywiol a'r gwir Dduw, ac hebddo Ef nid oes Duw: Efe yw yr unig Dduw a addolwyd gan y cyfiawnion yn mhob byd; oblegid y mae Efe yn bodoli yn yr holl fydoedd, ac yn preswylio yn ei holl gyflawnder mewn miliynau aneirif o babellau. Nid oes iddo ddechreuad, nid oes ychwaith ddechreuad i'w waith, ond y mae dechreuad i bob un o'i babellau ymgorffoledig; pob

ysbryd unigol a ymgorffolwyd allan o elfenau defnydd ysbrydol.

*(I'w barhau.)*

*Cyf.* D. E. JONES.

---

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 348.]

CARIAD a ddylai fod y penaf egwyddor rheoleiddiad yn mhob llywodraethau teuluol. Nid oes perygl i'r gwahanol aelodau mewn teulu garu y naill y naill y llall yn ormod. Dylent garu y naill y llall gyda'u holl galonau, a bod yn ewyllysgar, os gofynol, i roddi eu bywydau dros eu gilydd. Duw cariad yw, ac Efe ydyw y ffynnonell fawr o'r hon y dwg bodau yr holl fydoedd y briodoledd nefol hon: hi ddylifa allan yn ffrydiau annherfynol, gan gyfranu llawenydd a dedwyddwch i'r holl fydyssawd, mor bell ag ei derbynir, ei maethir, ac ei meithrinir gan fodau deallawl. Cariad, fel pob rhoddion ereill o eiddo Duw, a ellir ei wrteithio a'i gynnyddu, neu gellir ei esgeuluso a'i leihau: y mae yn ddarostyngedig i uwch-reolau y cynneddfau ereill o eiddo y meddwl: nid yw egwyddor o'r fath ag a ddarlunir yn fynych mewn ffug-draethodau, yn gweithredu yn anwrthwynebol, gan orfodi holl alluoedd ereill y meddwl i ddarostyngiad. Y cariad a fedd y rhywiau at eu gilydd a ymblanwyd o'u mewn ganddo Ef yr hwn sydd Dduw cariad. Mae Duw yn goruwch-reoli y briodoledd hon o'i natur yn gyfunol â doethineb, cyfiawnder, trugaredd, a phob priodoledd arall a fedd Ef. Efe a ragnododd ddeddfau er llywodraeth i'w briodoliaethau ei hun; ac nid yw Ef fyth yn goddef i'w hunan garu yr hyn sydd ddrwg neu bechadurus, ond bob amser yn caru yr hyn sydd dda, a rhinweddol, ac uniawn: felly hefyd y dylai dyn oruwch-reoli ei gariad gyda phriodoliaethau ei natur, yn gytunol â'r deddfau a roddodd Duw, a pheidio goddef ei hun byth i garu unrhyw beth drwg, neu a waharddo Duw.

Dylai dyn garu yr holl wragedd a ddichon Duw eu rhoddi iddo gyda pherffaith gariad: annichonadwy ydyw iddo eu caru yn rhy dda, a gofalu y cyssonir ac y goruwch-reolir ei gariad mewn pob peth yn gyfunol â'r gyfraith o gyfiawnder. Ond a fedr dyn garu ychwaneg nag un wraig gyda'i holl galon? Medr,

efe a all garu pob un a rydd Duw iddo ef gyda'i holl galon; a phe byddai ganddo gant, efe a all eu caru oll gyda'r un angerddolder ag y carai un. Mae yn wir, nis gallai roddi yr un sylw i gant ag a allai i un; ni chodai hyn oddiar eisieu cariad, eithr byddai oddiwrth natur yr amgylchiadau. Os oes gan ddyn ddwsin o blant, medr garu pob un o honynt yn ogymmaint ag y câr ef un; ond nis gall dalu yr un fath sylw i liosogrwydd plant ag a ddichon i un; nid yw hyny o herwydd fod ei gariad yn ymranedig neu wedi ei wanhau gan y niferoedd, ond y mae o herwydd yr amgylchiadau. Pe na roddasai Duw i ddyn ond un wraig, buasai yn ddyledswydd arno i'w charu gyda'i holl galon, ac ni buasai ganddo y fraint o garu unrhyw fenyw arall megys gwraig. Eithr os cynnysgaetha Duw liosogrwydd o wragedd ar ddyn, byddai yn bechadurus iddo beidio caru pob un gyda pherffaith gariad, ond iddynt fod oll yn gyffartal deilwng o'i gariad. Mae Duw yn caru plant dynion yn gyfunol â'u gweithredoedd, neu yn unol â'r ansoddion daionus a genfydd Efe ynddynt hwy: y rhai hyny a wnant y goreu, a gar Ef yn oreu; os gwnant hwy yn gyfartal dda, efe a'u car yn gyfartal. Dylai dyn gael ei arferyd gyda'r unrhyw egwyddor; dylai farnu mewn cyfiawnder am gymhwysderau a dymuniadau da ei deulu, a dylai garu yn oreu y rhai hyny a wnant yn oreu. Ac os cyfeiliorna neb o'i deulu, dylai eu caru o hyd yr un fath ag y câr Duw ei deulu, er y dichon iddynt weithiau gyfeiliorni a myned ar ddidro. Mae Duw yn caru ei deulu, nid am eu cyfeiliornadau a phechodau, ond o herwydd ei fod Ef yn gweled fod ansoddion da yn bodoli ynddynt, a chais eu hachub hwynt oddiwrth eu pechodau. Felly y dylai dyn garu ei wragedd, nid am eu ffaeleddau a'u hanmherffeithderau, ond oblegid y rhoes Duw hwynt iddo ef, ac oblegid eu bod hwy, ar y cyfan, yn dymuno gwneuthur yn iawn; gan hyny, dylai ef eu caru, a cheisio eu hachub hwynt oddiwrth eu ffaeleddau; ac ni ddylai byth garu un yn fwy nâ'r llall, oddigerth iddynt ei haeddu.

Gan fod y dyn yn sefyll wrth ben ei deulu, ei ddyledswydd yw ymofyn yn ddyfal am ddoethineb, i wybod y modd i lywodraethu ei deulu yn gytunol ag ewyllys Duw. Dichon i amgylchiadau fod y fath weithiau, ag i beri iddo roddi ei sylwadau dros amser yn fwy cyflawn ar ranau penodol

o'i deulu nag ar ereill; gall hyn godi nid oddiar bleidgarwch neu fwy cariad ganddo at un uwchlaw arall, ond dichon i'w farn neu amgylchiadau cylchynol ei ddarbwyllo mai hyn fyddai y dull doethaf. Amser arall, dichon iddo, efallai, droi ei sylwadau yn wrthwynebol, ac yn ymddangos yn fwy pleidiol tuag at y rhai hyny yr ymddangosodd dros dro yn eu hesgeuluso. Yn yr holl bethau hyn, dylai gwr gael ei arwain gan ei farn ei hun, yn oleuedig gan ysbryd y Gwirionedd. Ac yn y pethau hyn ni weddai fod ganddo gyfreithiau llymdost, sefydlog, anghyfnewidiol, fel eiddo y Mediaid a'r Persiaid. Gan belled y mae a wnelo egwyddorion mawrion cyfiawnder, dylai ei fod yn sefydlog ac ansymudadwy; eithr mewn perthynas i'w ymddygiad yn ei drafodaeth feunyddiol, a'i gyssylltiadau teuluol, ni ddylai ragnodi unrhyw reolau a'i gorfoda i ymddwyn yn ddidroad mewn ffordd benodol. Dylai hyn gael ei adael i amgylchiadau a'r ddoethineb sydd ganddo i'w gyfarwyddo a'i oruwch-reoli; a dylai gwragedd a phlant fod yn berffaith foddlawn i gael pen y teulu i fod yn ben mewn gwirionedd, a gwneuthur fel yr ymddangoso oreu iddo ef; ac fel y crybwyllasom eisoes, os cyfeiliorna pen y teulu mewn rhyw olygiadau, gwell ydyw ymollwng i'w ewyllys ef nâ chodi mewn gwrthryfel yn erbyn y drefn o lywodraeth deuluol a sefydlodd Duw. Os arferir gormod pleidgarwch, ac os dygwydd unrhyw drais gwarthus ar egwyddorion uniondeb, y mae awdurdodau ereill a fedrant reoleiddio y gwr; oblegid nid yw hyn yn hawl y gwragedd a'r plant; nid oes iddynt hwy gyfarwyddo y pen, eithr i weddio dros a gweinidogaethu i'r pen, fel, efallai, trwy eu caredigrwydd a'u haddfwynder hwynt, y dichon i'r pen gael ei ddylanwadu at wneuthur yn uniawn. Dylai cariad cydgyfranogol fodoli rhwng gwr a'i wragedd; oblegid heb hyn, nis gellir cynnal trefn Duw o lywodraeth deuluaidd.

Ond a fedr amryw wragedd garu un a'r unrhyw ddyn fel eu gwr? Medrant, os ymddyga ef atynt mewn ffordd i deilyngu eu hymddiried a chariad. Nid oes mwy anhawsder i amryw fenywod garu un gwr, nag y sydd i amryw bersonau garu ein Harglwydd a'n Gwaredwr. Duw yw awdwr cariad rhywiogaethol neu gydweddog, yr un fath ag y mae i bob math arall o gariad pur; ac os cyfuna Efe amryw fenywod i un dyn yn rhwymau cyssegredig priodas, eu dyledswydd hwy ydyw gwr-

teithio a chynnyddu yr egwyddor nefol o gariad pur tuag at y gwr, nes y carant ef â'u holl galonau, hyd y nod fel y carant Dduw; a dylai ef eu caru hwythau yn ol, fel y mae ef yn caru Duw. Nid oes drwg mewn cariad; ond y mae llawer o ddrwg yn tarddu oddiar ddiffyg cariad. Ni ddylai un fenyw gael ei huno mewn priodas gyda dyn oddigerth fod ganddi ryw gariad ato; ac os yw yn ei garu i radd fechan, mae hyn yn beth sydd alluadwy ei gynnyddu i berffeithrwydd. Unrhyw fenyw sydd yn caru cyfiawnder, a fedr ac y mae yn caru dyn sydd yn gweithredu cyfiawnder; a hi a fedr, trwy wrteithio y cariad hwn, fod yn ddedwydd yn ei gymdeithas, megys cyfaill ac megys brawd; a phe wedi ei huno ag ef mewn priodas, hi a fedrai ei garu megys gwr, ac os byddai ef deilwng, gellid cynnyddu ei chariad tuag ato hyd i'r dydd perffaith. Felly y mae gyda dyn. Nid oes fenyw gyfiawn a da yn Eglwys Dduw ond a gerir gan ddyn cyfiawn fel cyfeilles a chwaer; a phe byddai wedi ei uno yn gyfreithlawn â hi mewn priodas, medrai ei charu fel ei wraig; a'r cariad hwn, trwy wrtaith a charedigrwydd cydgyfranogol, a dyfai yn gryfach ac yn gryfach, hyd nes y byddent wedi eu perffeithio mewn cariad.

Ond ai ni all menyw garu llawer o ddynion yn gystadl ag y gall dyn garu llawer o wragedd? Atebwn, fod cariad o dan oruwch-reolaeth y naill a'r llall o'r rhywiogaethau; goruchwylwyr ydynt yn ngwrteithiad ac yn ymarferiad y nwyd hon, yr un fath ag yn ngwrteithiad ac ymarferiad o'r holl briodoliaethau ereill o'u natur. Nid oes gan ddyn hawl i garu unrhyw fenyw fel ei wraig, oddigerth i Dduw ei rhoddi hi iddo mewn priodas; mae ganddo allu, megys goruchwylydd, i derfynu ei gariad lle mae Duw yn ei derfynu; ac os â efe dros y terfynau hyny, y mae yn troseddu. Felly, yr un modd, terfynir menyw gan gyfraith Duw i un gwr; ac nid oes ganddi hawl i oddef i'w chariad fyned y tu hwnt i'r terfynau hyny. Mae ei chariad o dan reoleiddiad ei goruchwyliaeth, a rhaid iddo gael ei gyfyngu lle ei cyfyngir gan gyfraith Duw, onide mae yno droseddiad. Mae dyn yn caru llawer o wragedd, am fod Duw yn rhoddi iddo lawer, a gofynir iddo eu caru hwynt neu ddyfod yn droseddwr. Pe gofynasai Duw i fenyw gael llawer o wyr, neu ganiatau iddi liosogrwydd, yna buasai yn ddyledswydd iddi wrteithio yr egwyddor o gariad atynt oll: ond ni byddai hyny

yn beth hawdd, oddigerth gwneuthur y fenyw yn ben y teulu; o herwydd nis gall un wasanaethu dau feistr. Ac, fel y mae'r gwr yn sefyll megys yn feistr y tŷ, pe byddai gan fenyw ddau wr neu feistri, byddai yn sicr, yn unol â geiriau Crist, "o gasâu y naill a charu y llall," oblegid nas gall un garu a gwasanaethu dau feistr; eithr gall dau garu un meistr; ïe, gall cant o wragedd garu un meistr neu wr, o herwydd ef yw eu pen, hyd y nod fel mai Crist yw y Meistr mawr a Phen yr Eglwys. Fel y mae Crist yn un, ac efe yw y Priodfab mawr, wedi ei briodi i lawer, felly hefyd y dyn, yn un gwr, un priodfab, a ellir ei briodi i lawer. Megys y mae priodasferch Crist yn cynnwys lliosogrwydd personau, felly y dichon i briodasferch pob un o'i ffyddlon weision gynnwys lliosogrwydd personau. Dylai priodasferch Crist, er yn lliosogrwydd personau, fod yn un mewn ysbryd, mewn cariad, ac mewn gweithredoedd da; felly yr un modd priodasferch pob un o'i weision, pa mor liosog bynag o bersonau,a dylent fod yn berffaith un yn eu cariad ac undeb ysbryd.

Beth a all fod yn fwy nefolaidd a thebyg i Dduw nâ gweled teulu iawn reoleiddiol, yn cael eu llywodraethu mewn doethineb a chyfiawnder. Y mae yn ddechreuad nefoedd ar y ddaear! Y mae yn ymgorffoliad a fwriadwyd i fod yn dragywyddol! Dangosir y cyntaf-anedig yn yr ysgrythyr megys dechreuad nerth un; pa faint mwy a fydd ei nerth pan fyddo ganddo niferi mawr o wragedd a phlant! Gosodir sylfaen y pryd hyny i deyrnas batriarchaidd, yr hon a gynnyddir mewn niferi heb ddiwedd, dros yr hon y teyrnasa am byth. Mor fawr y rheswm sydd gan y fath ddyn i lawenychu! Mor ddiolchgar y dylai ef fod am y gwragedd a roddodd Duw iddo ef, trwy y rhai y dichon ef liosogi ei had fel sêr y nef! Y fath lawenydd a dedwyddwch a raid ei fod iddo ef garu teulu mor liosog, a gwybod y cerir ef yn ol ganddynt hwythau!

*(I'w barhau.)* *Cyf.* Robyn Ddu.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

---

Newyddion o'r Dyffryn.—Llythyr a phapyrau oddiyno, dyddiedig Hyd. 1, a'n hysbysant nad oes dim neillduol pellach wedi cymmeryd lle o barthed i'r Indiaid, ond fod pump o honynt

wedi eu lladd, a hwythau wedi lladd un o'r Saint pan yn gwylio. Ar y cyfan, mae yr Indiaid wedi bod yn dra llonydd yr wythnosau diweddaf, ond eu bod yn lladrata ychydig o ŷd, &c. Dywedir fod y cnydau yn doreithiog, yr iechyd yn dda, a phob llwyddiant tymmorol ac ysbrydol yn dilyn y Saint. Os bydd y gauaf hwn yn fwynaidd, tebygol y gorphenir y mur oddiamgylch y Deml, yn gystal â'r mur pridd a'r ffos oddiamgylch y ddinas; wrth yr hyn waith, a phob gwaith arall, mae y brodyr yn dra diwyd a bywiog. Dysgwylid yr holl ymfudwyr i mewn cyn canol Hydref. Cyrhaeddodd A. W. Babbit, Ysw., Ysgrifenydd Tiriogaeth Utah, ar y 26ain o Fedi. Yr oedd y Llywydd Young wedi cynnyrchu grawnwin hyfryd iawn, ac winwynyn yn 18 modfedd o amgylchedd, ynghyd â *pheaches* o'r fath oreu.

Cofiwch bob amser, "fod ymddyddanion drwg yn llygru moesau da." Mae cyfeillach yn gadael ei hargraff er lles neu er niwed yn wastadol. Alecsander Fawr a ddysgodd feddwi gan Leonides; a Nero a ddysgodd greulonder gan ei eilliwr.

Uniondeb ewyllys sydd fwy o addurn a pherffeithrwydd nâ dealldwriaeth godidog; ac er mwyn bod yn nefolaidd dda, y mae yn fwy gwerthfawr nag unrhyw ddoethineb neu wybodaeth arall.

### PROFIAD Y BARDD.

Yn mlaen yr af heb ofni dim,
A Duw yn noddwr anwyl im';
Yn nghanol hyll gynllwynion byd,
Am Seion mae fy nghân o hyd.

Nid oes yn helw uffern erch,
Un gallu byth a ladd fy serch;
Tra cyfraith Duw yn llanw 'mron,
I Seion canu wnaf yn llon. Dewi Elfed.

---

Taliadau o Tach. 25 hyd Rhag. 1.—Gorllewin Morganwg, £5; Sir Ddinbych, £1; Pontytypridd, 5s 6c; Llanfabon, 7s 9c; Aberdar, 11s 6c; Georgetown, 5s 6c.—Cyfanswm, £7 10s 3c.

---

### CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 24.] RHAGFYR 10, 1853. [CYF. VI.

## CYN-FODOLDEB DYN.

[Parhad o dud. 367.]

107. WEDI profi fod Iesu Grist, neu Gyflawnder Gwirionedd, yn ddiddechreuad, ymofynwn yn nesaf, Pa un a fu yn bod bob amser ddynsoddiaethau yn mha rai y preswyliai y cyflawnder hwn? neu pa un a breswyliodd hyn neu Efe mewn mymrynau anghorffoledig defnydd cyn i unrhyw ddynsoddiaethau gael eu ffurfio? Mae y gofyniadau rhai'n yn hytrach yn ddyrus i'w hateb. Mae yn dra thebyg, y bu er pob tragywyddoldeb oddeutu yr un fath ag yn bresennol; y bu olyniad diddiwedd o sylweddau, yn gorffoledig ac anghorffoledig, pa rai a ddyrchafwyd ac a ogoneddwyd, ac a dderbyniasant gyflawnder. Y mae yn hollol debygol, y bu olyniad diddiwedd o fydoedd, ac olyniad diddiwedd o breswylwyr a boblogasant y bydoedd hyny. Os felly, yna nis gallasai fod byd cyntaf, neu ddynsawd cyntaf. Er y caffai pob byd, a phob dynsawd ddechreuad, etto ni fyddai dechreuad i ardderchog gadwyn olyniad neu achyddiaeth. Gellir egluro hyn, trwy amgyffred bodoliaeth llinellau uniawn diddiwedd mewn eangder annherfynol; amgyffreder fod pob un o'r llinellau rhai'n i gael eu rhanu neu eu graddoli i rifedi diderfyn o latheni. Gall pawb ar unwaith weled, y byddai dechreuad i bob un o'r llatheni rhai'n, ond ni fyddai dechreuad i'r olyniad diddiwedd. Felly, yn yr un modd, am barhad diderfyn; gallwn amgyffred iddo gael ei ranu i olyniaeth ddiddiwedd o fynydau; byddai gan bob un o'r mynydau

rhai'n ddechreuad, ond ni fyddai yna ddechreuad i'r olyniaeth. Dysgasom yn barod oddiwrth ddadguddiad nad oedd dechreuad i waith Iesu Grist. Yn awr, meddyliwn taw pob gwaith olynol oedd yr ymgorffoliad o fyd, a phoblogiad yr uarhyw. Pawb ar unwaith a ganiatant fod pob byd a'i breswylwyr wedi cael dechreuad; ond ei waith Ef, gan fod heb ddechreuad, yna nis gallasai fod byd *cyntaf* yn yr olyniaeth ddiddiwedd hon, na Thad *cyntaf* yn yr achuddiaeth annherfynol.

108. Gan edrych ar bethau trwy ein meddyliau anmherffaith ni, buom yn arferedig â thybied y rhaid fod pob peth ag ydynt gyssylltiedig gan gadwyn o achosion ac effeithiau, o'r diwedd derfynu mewn *Achos Cyntaf* neu mewn *Effaith Gyntaf;* er enghraifft, wrth olrhain achyddiaethau, yr ydym yn myned yn ol o'r mab i'r tad, yna i'r taid, yna i'r gorhendaid, ac mal hyn olrheiniwn y llinach yn ol, o genedlaeth i genedlaeth, hyd oni edrychwn yn naturiol am dad cyntaf perthynol i'r rhyw ddynol ar y greadigaeth hon, felly yr un modd, pan yr olrheiniwn achyddiaeth ein hysbrydoedd. Cenedlwyd ni gan ein Tad yn y Nef; dynsawd ein Tad yn y Nef a genedlwyd ar fyd nefol blaenorol gan ei Dad Ef; a thrachefn, Efe a genedlwyd etto gan henach Tad; ac felly yn mlaen, o genedlaeth i genedlaeth, o un byd nefol i arall etto yn henach, hyd oni fyddo ein meddyliau wedi blino ac ymgolli yn y lliosogrwydd o genedlaethau a bydoedd olynol, ac mal yr ymgyrch olaf, crwydrwn, yn ein meddyliau, pa mor bell yn ol mae yr achyddiaeth yn ymestyn, a pha fodd y ffurfiwyd y byd cyntaf, ac y cenedlwyd y tad cyntaf. Ond paham mae dyn yn ceisio am *gyntaf*, pan y mae dadguddiad yn ei hyfforddi fod gwaith Duw heb ddechreuad? A ydych chwi etto yn ceisio am ddolen *gyntaf* lle mae y gadwyn yn ddiddiwedd? A ellwch chwi ddirnad am flwyddyn gyntaf mewn parhad diderfyn? A ellwch chwi grafangu o fewn eich amgyffredion y filltir gyntaf mewn llinell gywir annherfynol? Cydnabyddwch yn barodol nad oes *cyntaf* i'r holl bethau rhai'n: paham, ynte, y ceisiwch am Dad dynsoddol *cyntaf* mewn achyddiaeth ddiddiwedd? neu am effaith *cyntaf* mewn olyniaeth annherfynol o effeithiau?

109. Y Cyflawnder Gwirionedd, yn preswylio mewn olyniaeth ddiddiwedd o genedlaethau a fu, a gynnyrchai olyniaeth ddiddiwedd o ddynsoddol Dduwiau, a phob un yn meddiannu

doethineb, gallu, a gogoniant cyfartal â'r lleill oll. Wrth addoli un o'r Duwiau rhai'n, yr ydym yn addoli y cyfan; ac yn yr addoliad o'r cyfan, nid ydym etto yn addoli ond un Duw; o herwydd yr unrhyw Dduw sydd yn preswylio ynddynt oll, y dynsoddiaethau ydynt yn unig wahanol leoedd ei breswylfod. Wedi yr adgyfodiad, pan y preswylia Cyflawnder Gwirionedd neu Dduw ynom ni, yna gellir dywedyd am danom, mal y dywedir yn awr am Grist, ein bod "o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb;" yna gellir dywedyd am danom, fod ein "gwaith heb derfyn iddo, na dechreuad ychwaith;" yna gellir dywedyd am danom, ein bod yn mhob peth, a thrwy bob peth, ac oddiamgylch ogylch pob peth;" yna gellir dywedyd am danom, fod rhifedi y bydoedd pa rai a greasom yn lliosocach nâ'r mymrynau o lwch mewn miliwn o ddaearau fel hon, ïe, na fyddai hyn yn ddechreuad i rifedi ein creadigaethau; gellir dywedyd am danom, ein bod ni yno yn yr holl annherfynoldeb o fydoedd, a bod ein mynwes yno. Pa fodd, ymofyna y Saint synedig, y gall yr holl bethau hyn fod? Pa fodd y gallwn ni fod er pob tragywyddoldeb? Pa fodd y gallwn ni fod yn hollbresennol? Pa fodd y gall ein gwaith fod heb ddechreuad? Atebwn, y bydd hyn yn wir gyda golwg ar gyflawnder Duw pa un a breswylia o'n mewn ni, ond nid yw wirionedd gyda golwg ar ein dynsoddau; nac ychwaith yn wirionedd gyda golwg ar unrhyw ddynsoddau ereill. Duw yw goleuni a bywyd pob peth. Ein bywyd a'n goleuni ni yn awr sydd yn unig yn rhan o Dduw, ond yna, yn y dydd gogoneddus hwnw, hwy fyddant yr oll o Dduw, yn cyffroi, a bywiocau, a gogoneddu pabell newydd. Yna gallwn ddywedyd y naill wrth y llall, yr wyf fi ynoch chwi, a chwi ydych ynof fi, a ni oll ydym un, sef un Duw, "o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb." Y Goleuni, a'r Dealltwriaeth, a'r Gwirionedd, a feddianna pob un o'r Saint y pryd hyny mewn cyflawnder, nis crewyd, nac, yn wir, nis gall fod ychwaith, ond yr oeddynt o bob tragywyddoldeb; a hwy a gynnorthwyasant yn ffurfiad pob byd, ac ydynt bresennol yn mhob byd, yn llywodraethu, a rheoleiddio yr unrhyw. A ydym ni yn gwireddu fod hyd y nod ein bywyd a'n bodoliaeth yn osodedig a chyfansoddedig o egwyddorion tragywyddol? nad yw y bodau a alwn yn ni ein hunain ond yn unig yn rhanau o un cyfan tragywyddol? nad yw priodoliaethau ein natur

ni ond blaguriad o briodoliaethau Duw, wedi eu gosod mewn pabellau newyddion, lle gofynir iddynt wellâu a pherffeithio eu hunain trwy ymlynu wrth y ffynnonell fawr o ba un y maent yn gyfran? Pob cyfran ychwanegol a dderbyniant sydd yn gyfran ychwanegol o Dduw; pan eu llenwir hwynt â goleuni eu llenwir â Duw—hyny yw, mae Duw ynddynt yn yr oll o'i gyflawnder; a lle bynag mae Duw, yno mae Hollalluog nerth, a doethineb a gwybodaeth annherfynol, a phob peth sydd yn ddarostyngedig iddo Ef, ac y mae Efe yn meddiannu pob peth, a phob llywodraeth a byd ydynt eiddo Ef, o herwydd Efe a'u gwnaeth hwynt oll. O herwydd y rheswm hyn y bydd i bob un o'r Saint etifeddu pob peth, a bod yn gyfartal, nid yn unig mewn nerth a gogoniant, ond hefyd mewn llywodraeth. Pob peth presennol, a phob peth i ddyfod fydd yn eiddynt. Pob peth presennol sydd yn cynnwys yr holl annherfynoldeb o fydoedd pa rai a grewyd, a waredwyd, ac a ogoneddwyd er pob tragywyddoldeb: pob peth i ddyfod sydd yn cynnwys pob byd a greir, a waredir, ac a ogoneddir i bob tragywyddoldeb. Pob un o'r Saint y rhai a dderbyniant gyflawnder Duw fyddant yn gyd-etifeddion â'r lleill oll yn etifeddiaeth yr eiddo cyffredin a mawr hwn: pob rhyw un yn meddiannu y cyfan. O ganlyniad, byddant yn gyfartal mewn llywodraeth, yn gystal â bod yn gyfartal mewn gwybodaeth, gallu, a gogoniant. Mae hyn wedi cael ei ddadguddio mor gyflawn mewn dadguddiadau, hen a diweddar, mal y tybiwn fod lliosogi dyfyniadau yn ananghenrheidiol. Yn wir, paham na allai yr unrhyw Dduw mewn un babell etifeddu yn gywir gan gymmaint ag a wna yn mhob pabell arall? Os pabellau yw dynion, a Duw yw y Bod pa un a breswylia o fewn iddynt, yna rhaid fod yr Un Duw hwn yn mhob pabell o anghenrheidrwydd yn meddiannu pob peth; o herwydd Efe a'u gwnaeth hwynt oll.

110. Mor wahanol yn eu natur yw goleuni a gwirionedd oddiwrth sylwedd. Nis gall sylwedd fod ond mewn un lle ar y pryd: tra y gall dealltwriaeth neu wirionedd fod yn mhob byd ar yr un meidyn. Nis gellir rhanu sylwedd, a rhan i gael ei chymmeryd i ryw le arall, heb leihau y swm wreiddiol o ba un y cymmerwyd ef: tra y gellir cyfranu gwahanol ranau o oleuni a gwirionedd i fodau ereill mewn lleoedd ereill, heb leihau y gradd lleiaf o'r ffynnonell o ba un y tarddant. Sylweddau

wedi eu hymgorffoli i wahanol ddynsoddau ar wahanol fydoedd, a ddeuant yn lliosogrwydd o sylweddau neu ddynsoddau: tra y gall gwirionedd gael ei gyfranu i bob un o'r dynsoddau rhai'n, ac etto nid yw ond un gwirionedd—unoliaeth—ac nid lliosogrwydd o wirioneddau. Pa mor fawr bynag fyddo rhifedi gwirioneddau y rhai a gyfrenir yn gyfartal i nifer annherfynol o ddynsoddiaethau, etto y gwirioneddau ni chynnyddasant mewn rhifedi trwy eu rhifedi cynnyddedig o breswylfeydd. Yn yr holl nodweddion hyn, mae gwirionedd a sylwedd yn mawr wahaniaethu y naill oddiwrth y llall. Fel mae Duw yn Oleuni a Gwirionedd, a Goleuni a Gwirionedd yw Duw, yr holl nodweddion perthynol i un, a berthyna i'r llall hefyd. Nifer annherfynol o babellau wedi eu llenwi â Gwirionedd, ni chynnwysa fwy nag un wedi ei lenwi â'r unrhyw: felly yr un modd, nifer annherfynol o babellau wedi eu llenwi â Duw, nid ydynt yn gwybod mwy nag y mae un yn wybod. Gwirionedd sydd un Gwirionedd, er preswylio mewn miliynau, felly yn yr un modd Duw sydd un Duw, er preswylio mewn rhifedi aneirif o babellau. Hyn yw y rheswm paham y dywedwyd wrthym mor aml, mewn dadguddiadau hen a diweddar, nad oes ond un Duw. A pha bryd bynag mae lliosogrwydd Duwiau yn cael eu crybwyll, gallwn bob amser wybod fod gan y mynegiad gyfeiriad yn unig at y nifer o babellau lle mae yr unig wir a'r bywiol Dduw hwn yn preswylio.

111. Arosasom ar y pwnc hwn yn hytrach yn hwy nag y bwriadasom ar y cyntaf, oblegid yr ydym yn ystyried ei fod yn egwyddor pa un a ddylid ei deall yn dda gan y Saint, nid yn unig er ein lles ni ein hunain, ond fel y gallom fod yn abl i ddysgu ereill yn gywir; mal pan y gofynir i ni am reswm paham y credwn mewn lliosogrwydd Duwiau, fel y gallom fod yn alluog i osod yn mlaen ein golygiadau yn eglur ac yn amlwg, mewn cydgordiad â'r dadguddiadau pa rai a roddodd Duw o hono ei hun. I'r perwyl hwn yr arosasom cyhyd ar gynfodoldeb dyn, mewn trefn y gallom ddeall yn amlycach, nid yn unig ein dechreuad nefolaidd a Duwaidd, ond y gyfundrefn ardderchog o ddeddfau, trwy ba rai mae Duw yn dechreu ac yn parotoi pabellau yn drigfa iddo ei hun, yn mha rai y mae cyflawnder ei ddoethineb, ei allu, a'i ogoniant yn cael eu hamlygu. O mor fawr, ac mor rhyfeddol yw ffyrdd Duw, a'i gyn-

lluniau pa rai a fabwysiadodd Efe er iachawdwriaeth a gogoneddiad ei hiliogaeth ddeallawl! Pwy a ddeall y pethau hyn heb ymlawenhau ddydd a nos? A phwy a all ddeall gwaith ein Duw, a dirgeledigaethau ei deyrnas, oni fydd wedi cael ei oleuo â goleuni yr Ysbryd Glân! Da y dywedodd yr Apostol Paul, "Y dyn anianol nid yw yn adnabod pethau Duw, o herwydd yn ysbrydol y bernir hwynt;" "ond Duw a'u dadguddiodd hwynt i ni trwy ei Ysbryd; canys yr Ysbryd sydd yn chwilio pob peth, ïe, hyd y nod ddyfnion bethau Duw." Da y dywedodd ein Iachawdwr, y gwnelai Ysbryd y Gwirionedd dywys ei ddyscyblion i bob gwirionedd—y cymmerai o bethau y Tad, ac y dangosai hwynt i'w bobl—y dangosai iddynt bethau i ddyfod, ac fel hyn eu gwneyd yn ddadguddiedyddion a phrophwydi. O na wnelai dynion ystyried ar y pethau rhai'n! O na ddeuent at Dduw, mal dynion yn y dyddiau gynt, a dysgu ganddo yn awr, megys y gwnaethant y pryd hwnw! O na adfyfyrient ar eu tarddiad nefol, a beth all fod eu tynghed ddyfodol pe gwnelent ond yn unig ymarddelwi, trwy ufydd-dod a ffydd, y rhagorfreintiau uchel a osodir o'u blaen hwynt! O na wybuent yr hyn a berthyn i'w heddwch a'u llwyddiant, yma ac yn y byd a ddaw! ond nis gwyddant—maent fel yr anifel a drenga, o herwydd yr hwn y parotoir y lladdfa, ac nis gwyr efe hyn: felly hefyd y mae gyda y genedlaeth hon; nis gwyddant ddim, ond yn unig yr hyn a wyddant yn naturiol; gwadasant yr anghenrheidrwydd o ddadguddiad presennol, am hyny, pob goleuni ysbrydol a gwybodaeth nefol a attaliwyd oddiwrthynt, a hwy a ddygant ddinystr buan arnynt eu hunain, a threngant yn eu pechodau, a hyn a achosa i'm calon i fod yn drist; ac yr wyf yn galaru dros galedrwydd eu calonau, a thywyllwch eu meddyliau, ddydd a nos; ac yr wyf yn llafurio ac ymboeni, ac hefyd fy mrodyr, i'w cael yn ol, ond y mae eu calonau wedi eu gosod yn llawn ynddynt i wneuthur drwg, a rhaid iddynt yn fuan fod wedi aeddfedu i'r dinystriadau gosodedig ar y cenedlaethau yn y dyddiau diweddaf.

112. Cawsom, ar yr erthygl hon ar gyn-fodoldeb, olrhain dyn yn ol i'w ddechreuad yn y byd nefol, fel maban ysbryd; dangosasom fod yr ysbryd hwn wedi ei genedlu a'i eni, gan rieni nefolaidd, yn hir cyn ffurfiad y greadigaeth hon. Dang-

osasom fod y teulu mawr o ysbrydion wedi cael prawf cyn iddynt ddyfod yma—fod y drydydd ran o honynt wedi syrthio, ac wedi eu bwrw allan o'r nef, ac wedi eu hamddifadu o gyrff cnawdol; tra y daeth y gweddill yn mlaen yn eu holynol genedlaethau i boblogi y bellen hon: dangosasom taw, wrth gadw eu hail sefyllfa hon, y cant eu perffeithio, eu gogoneddu, a'u gwneuthur yn Dduwiau yn debyg i'w Duw Dad, gan yr hwn y cenedlwyd eu hysbrydion. Ymddygiad Duw tuag at ei blant, o'r amser eu genir gyntaf yn y nef, trwy eu holl olynol raddau bodoliaeth, hyd oni fyddont wedi eu gwaredu, eu perffeithio, a'u gwneyd yn Dduwiau, sydd esiampl ar ol pa un yr ymddygir at bob byd arall. Pob Duw sydd yn gweithredu ar yr unrhyw egwyddorion mawrion cyffredinol; ac fel hyn, cylch pob Duw sydd un cylchdro tragywyddol. Yna, wrth gwrs, y bydd amrywiaeth yn ei holl waith, ond ni fydd yno ddim gwyriadau mawrion oddiwrth y deddfau cyffredinol pa rai a ordeiniodd Efe. Y greadigaeth, y syrthiad, a gwaredigaeth pob byd dyfodol gyda eu preswylyddion, a dywysir ar yr unrhyw gynllun cyffredinol; fel pan ddysgir un, egwyddorion mawrion sylfaenol y gelfyddyd o fyd-wneuthuriad, byd-lywodraethiad, a byd-warediad, fydd yn ddealledig.

113. Tad ein hysbrydoedd ni wnaeth ond yn unig yr hyn a wnaeth ei henafiaid o'i flaen ef. Pob dilyniad cenedlaeth o Dduwiau ydynt yn canlyn esiampl y rhai blaenorol: pob cenedlaeth a feddant eu gwragedd, y rhai a gyfodant i fyny o ffrwyth eu lwynau ysbrydion anfarwol: pan ddaw eu teuluoedd yn lliosog, corffolant fydoedd newyddion iddynt hwy, yn ol yr esiampl flaenorol a osodwyd o'u blaen hwynt, lleolant eu teuluoedd ar yr unrhyw, y rhai a syrthiant megys y syrthiodd preswylwyr y bydoedd blaenorol; cant eu gwaredu ar ol y cynllun trwy ba un y cawsai bydoedd henach eu gwaredu. Mae gan breswylwyr pob byd eu Tad dynsoddol eu hunain, priodoliaethau yr hwn a addolant, ac wrth wneyd felly pob byd a addola yr unrhyw un Duw, yr hwn sydd yn preswylio yn yr oll o'i gyflawnder yn nynsoddiaethau y rhai ag ydynt Dadau pob un. Mal hyn, bydoedd a chyfundraethau o fydoedd, a mawreddog greadigaethau, a bentyrir mewn olyniaeth ddiddiwedd trwy anfeidrol eigionau eangder diderfyn; rhai yn danddaearol, rhai yn ddaearol, a rhai yn nefol, yn amrywio yn

eu gogoniant, megys y mae dysclaerdeb ymddangosiadol goleuadau tryloywon y nef yn amrywio. Yr holl rai hyn a heidiant gyda rhifedi annherfynol o fodau bywydol, symudol, a bywiol, o'r miliynau manaf a chwaraeant wrth y miliynau mewn un defnyn o ddwfr, i fyny trwy bob gradd o fodoliaeth at y Dynsoddiaethau Hollalluog, Holl-ddoeth, a Mwyaf Gogoneddus hyny y rhai a fodolant yn rifedi aneirif, gan lywodraethu a rheoli pob peth.

*Cyf.* D. E. JONES.

---

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 371.]

CARIAD sydd egwyddor, fel gwybodaeth, y gellir ei chyfroddi heb leihau y ffynnonell o'r hon y deillia. Mae cariad, mewn geiriau ereill, yn cenedlu cariad. Yr ydym yn caru y peth sydd gydnaws â'n meddyliau; os carwn burdeb a rhinwedd ynom ein hunain, nyni a'u carwn yn ereill; a phan y gwybyddir gan ereill ein bod yn eu caru hwynt, o herwydd eu rhinwedd a'u daioni, hwy a'n carant ni am y cyffelyb resymau; fel hyn y mae cariad, pan yn sylfaenedig ar wir egwyddor, yn gylchgyfnewidiol. Rhinwedd a gâr rinwedd, gwirionedd a gofleidia wirionedd, gwybodaeth a lyn wrth wybodaeth; yr ydym yn caru pob priodoledd dda a nefol o eiddo ein natur ein hunain, pan welom yr unrhyw yn cael eu hamlygu gan fodau ereill. Yr ydym yn caru y rhinweddau hyn mewn meibion a merched fel eu gilydd. Cariad rhywiogaethol, heb y rhinweddau cydymdeithiol, nid ydyw i'w oddef, am yr arweinia i ddrwg. Duw a ordeiniodd fod i gariad pur a rhinweddol gael ei ymgorffoli gyda chariad rhywiogaethol; fel, trwy ymgyfrodeddiad y ddau, y gellid ffurfio undeb parhaus yn y cyfammod priodasol, ac i'r eppil gael eu lliosogi mewn cyfiawnder. Dylai i gariad pur a rhinweddol, fodoli yn wastadol rhwng gwr â phob un o'i wragedd, yn gystadl â chariad rhywiogaethol; caiff hyn dueddiad i argraffu yn fwy parhaus yr egwyddorion nefol yma ar feddwl a chyfansoddiad yr hiliogaeth; oblegid bydd i'r eppil ymgyfranogi, mewn graddau mwy neu lai, o dueddiadau a nwydau y rhieni. Mor ofalus, gan hyny, y dylai rhieni fod, rhag iddynt argraffu tueddfryd a gogwyddiad yn yr eppil ag

ydynt gyfeiriol, os heb eu gwylio yn gadarn, i'w dystrywio a'u dinystrio hwynt fel y tyfont i fyny at weithredu drostynt eu hunain. Deil Duw y rhieni yn gyfrifol am y pethau hyn, o herwydd eu bod yn egwyddorion dros y rhai y mae ganddynt, fel goruchwylwyr, oruwch-lywodraeth. Dylai pob egwyddor dda y dymunech i'ch plant ei hetifeddu, fod yn benaf, a theyrnasu yn eich mynwesau eich hunain; oblegid, er fod yr ysbrydion yn bur a nefol pan yr ânt i'r tabarnacl babanaidd, etto y maent yn hynod dderbyngar o ddylanwadau naill ai er da neu er drwg. Cyflwr meddyliau y rhieni yn amser ymddwyn, a chyflwr meddwl y fam yn ystod ei beichiogiad, a fydd yn ymgorfforol argraffedig ar yr eppil, gan ddwyn gydag ef ganlyniadau, y rhai i raddau, sydd ganddynt ddylanwad ar dyngedfen ddyfodol y plentyn.

Cariad, gyda'r holl rinweddau ereill, a ddylai fod drechaf yn mynwesau y rhieni, mewn trefn i'r unrhyw rinweddau gael eu hetifeddu gan y plant. Dylent gael eu treiddio i wir ymgorffoliad y plentyn pan yn y milrhith; dylent gael eu dyfnynu i'r meddwl o fabandod hyd gyflawn oedran, fel y delont i'w hymgorffoli megys egwyddorion sefydlog ac ansymudadwy, yn meddwl y dyn yn llywodraethu a rheoleiddio holl weithrediadau dyfodol ei fywyd. Yn y fath blant caiff rhieni lawenydd; byddant yn nerth i'w llywodraeth batriarchaidd; yn anrhydedd a choron eu hen oedran; eu gobaith a'u gogoniant yn yr adgyfodiad; eu sylfaeniad o gynnydd diddiwedd teyrnasoedd dros y rhai y teyrnasant am byth, a chyda y rhai y cant eu cymdeithasu fel Duwiau trwy oesoedd annherfynol tragywyddoldeb.

Yn lle bod aml-wreigiaeth yn achos gofid i fenywod, y mae yn un o fendithion mwyaf yr oruchwyliaeth ddiweddaf; y mae yn rhoddi iddynt y fraint fawr o gael eu huno gyda dyn cyfiawn, ac o gael codi teulu yn gytunol â threfn y nef. Yn lle cael eu gorfodi i aros yn sengl, neu briodi dyn drwg yr hwn a'i dystrywia hi a'i heppil, geill fyned i deulu lle mae heddwch ac iachawdwriaeth yn teyrnasu; lle mae cyfiawnder yn amlhau; lle mae y pen-teulu yn sefyll allan megys patriarch, tywysog, a gwaredwr i'w holl dylwyth; lle y selir bendithion annhraethadwy a thragywyddol arnynt hwy a'u cenedlaethau ar eu hol; ei gogoniant sydd dragywyddol, a'i llawenydd sydd

lawn. Llawenhewch, gan hyny, chwi ferched Seion, am eich bod yn byw o fewn y cyfnod gogoneddus hwn! Llawenhewch drosoch eich hunain a thros eich cenedlaethau, o herwydd yr anrhydedd a'r breintiau dyrchafedig a arllwysir arnoch chwi! Llawenhewch am i chwi fyned i fendithion a attaliwyd dros lawer a oesoedd a aethant heibio yn herwydd drygioni! Llawenhewch a chenwch o hyfrydwch calon yn y golygiadau gogoneddus sydd yn ymagor o'ch blaen! Llawenhewch yn mynyddoedd a dyffrynoedd Utah! oblegid ei fod yn dir eich rhyddid, lle y caiff iau haiarnaidd y goel-grefydd Rufeinig a Phrotestanaidd ei dryllio oddiar eich gwarau; lle y cewch y fraint o unoli eich tragywyddol dyngedfen gyda dyn eich dewisiad; lle y caiff rhinwedd deyrnasu yn fuddugoliaethus; a'r hudolwr dirmygedig yn anhysbys; lle tyf ymddiried yn gryfach a chryfach, wedi cyfan gydio gan gariad Duw! Dedwydd ydynt hwy ferched Seion! Ni chyfnewidiant eu sefyllfaoedd gyda breninesau y ddaear! Nid yw anrhydedd bydol a chyfoeth bydol yn deilwng o'u cystadlu gyda'r bendithion a fwynhant hwy! Carant eu gwyr. a'u gwyr a'u câr hwythau; ac mae y cariad hwn yn fwy o lawer nâ'r cariad a erys yn nghalonau y drygionus. Plant Seion a garant mewn cyfartalwch i'r wybodaeth nefol a dderbyniasant; o herwydd ceidw cariad gydgamrau â gwybodaeth, ac fel y cynnydda un felly y gwna y llall; a phan berffeithir gwybodaeth, perffeithir cariad hefyd. Nid yw y drygionus alluog i garu mewn gradd mor fawr â'r cyfiawn, am eu bod yn amddifad o'r wybodaeth o Dduw, ac nad ydynt yn prisio gwragedd a phlant fel y dylent. Nid ydynt yn llawn sylweddu dyben ac amcanion yr Hollalluog wrth gyssylltu y rhywiogaethau mewn priodas santaidd; ac heb wybodaeth o'r pethau hyn nis gallant garu fel y cyfiawn; o herwydd o Dduw y mae cariad, a'r rhai hyny sydd yn byw agosaf at yr Arglwydd a garant fwyaf; a'r rhai a garant fwyaf a fyddant y dedwyddaf.

Pe yr ymholem beth sydd yn cyfansoddi truenusrwydd yr angylion syrthiedig, yr ateb a fyddai, y maent yn amddifad o gariad; hwy a beidiasant a charu Duw; hwy a beidiasant a meddiannu cariad pur y naill un tuag y llall; peidiasant a charu y peth hyny ag sydd dda. Casineb, malais, dïal, a phob nwydau drwg a draws-feddiannasant le cariad; ac anned-

wyddwch, gresynoldeb, a thruenusrwydd ydynt y canlyniadau. Lle nad oes cariad, ni fydd yno un dymuniad i ddwyn yn mlaen lesoldeb ereill. Yn lle dymuno fod ereill yn ddedwydd, pob un a ddymuna wneuthur ereill yn druenus fel ei hunan; pob un a gais foddloni y tueddfryd uffernol hwnw yn erbyn yr Hollalluog, ag sydd yn codi oddiar ei eithaf ddygasedd at yr hyn sydd dda. O eisieu cariad mae poen pob un yn gyflawn. Yr holl rai drygionus a orfyddwyd yn hollol gan yr ysbrydion maleisus hyn, a gant yr egwyddor nefol o gariad wedi ei difodi yn hollol o'u meddyliau, a hwy a ddeuant yn angylion i'r ellyllon uffernol hyn, wedi eu caethiwo ganddynt, a hwy a orfodir i weithredu megys ag y gweithredant hwy. Nis gallant ddad-ddyrysu eu hunain o'u gallu, na chadw draw bicellau tanllyd eu poenydwyr maleisus. Y fath yna a fydd sefyllfa pob bodau a dynant eu hunain yn hollol oddiwrth gariad Duw. Fel y lleihäo cariad, drygioni, casineb, a thrueni a gynnydda; a pho fwyaf drwg y delo personau neu genedloedd, y llai galluog ydynt i garu ereill a'u gwneyd yn ddedwydd; ac yn y gwrthwyneb, po fwyaf cyfiawn y delo pobl, y mwyaf cymhwys ydynt i garu ereill a'u gwneuthur yn ddedwydd. Nis gall fod gan ddyn drygionus ond ychydig gariad at ei wraig, tra mae y dyn cyfiawn, wedi ei lenwi gyda chariad Duw, yn sicr o arddangos y briodoledd nefol hon yn mhob meddwl a theimlad o eiddo ei galon, ac yn mhob gair a gweithred. Cariad, llawenydd, a diniweidrwydd a ymdywynant o'i wir wynebpryd, a mynegir hwy yn mhob edrychiad. Cenedla hyn ymddiriediad yn ngwraig ei fynwes, a hi a'i câr ef yn ol; am fod cariad yn cenedlu cariad; mae dedwyddwch yn cyfranu dedwyddwch; a bydd i'r cyffroadau nef-anedig hyn barhau i gynnyddu mwy a mwy, hyd nes eu perffeithio a'u gogoneddu yn holl gyflawnder tragywyddol gariad ei hunan.

Pe gallai bodau drwg a maleisus, y rhai a ddifodasant bob teimlad o gariad o'u mynwesau, gael caniatad i daenu eu hiliogaeth, ymgyfranogai yr eppil o holl natur ddrwg, lygredig, a maleisus eu rhieni. Pa mor bur bynag y dichon yr ysbrydion fod, pan eu caniateid i fyned i'r fath babellau diraddiad, etto, gan eu bod yn hynod dderbyngar o ddylanwadau, hwy yn fuan a ymgyfranogent o'r holl natur ddrwg sydd yn hynodi ysbrydion y tad a'r fam; fel hyn yn gyflym y deuent yn ddiawliaid

mewn cnawd ac esgyrn. Y fath hyn a fyddai canlyniadau echryslon yr eppil, a ddygid i fodoliaeth gan rieni amddifad o egwyddorion cariad, fel yr angylion syrthiedig. Yr un canlyniadau, i radd benodol, a ddeilliai oddiwrth liosogiad rhieni drygionus. Mewn cyfartalwch, fel y difodid pur gariad Duw o'u calonau, cymmerai y nwydau aflan ei le, ac ymgyfranogai yr eppil o'r egwyddorion diserch hyn a genedlwyd yn natur ac ymgorffoliad y babell fabanaidd, a dechreuai weithredu ar yr ysbryd pur a breswyliai ynddo, gan ffurfio, moddhau, a phlygu i fesur mawr, ei dueddiadau, hyd nes, erbyn yr amser y tyfai i fyny i wybod da oddiwrth ddrwg, y byddai barod i ymsoddi gerfydd ei ben i holl ddrygau ei rieni annuwiol; fel hyn y rhieni, o eisieu y serch santaidd a phur hwnw sydd yn bodoli yn mynwes y cyfiawn, ydynt nid yn unig yn dystrywio eu dedwyddwch eu hunain, ond yn argraffu eu nwydau diraddiad a diserch ar ymgorffoliad eu heppil. Am y rheswm hwn y mae na chaniatâ Duw i'r angylion syrthiedig liosogi: am y rheswm hwn yr ordeiniodd Duw briodasau i'r cyfiawn yn unig: am y rheswm hwn y bydd i Dduw roddi attalfa byth ar liosogiad y drygionus ar ol y bywyd hwn: am y rheswm hwn y mae na chaniateir i ond y rhai a gadwasant y gyfraith nefolaidd i liosogi wedi yr adgyfodiad: am y rheswm hwn yr ordeiniodd Duw i'r cyfiawn gael amlder gwragedd; oblegid hwy yn unig ydynt wedi eu parotoi i genedlu, a dwyn allan eppil sydd â'u cyrff a'u hysbrydion, gan gyfranogi o natur eu rhieni, yn bur a hawddgar, ac a arddangosant, fel y cynnyddont mewn blynyddoedd, y rhagoriaethau nef-anedig hyny sydd mor anghenrheidiol i'w harwain i ddedwyddwch a bywyd tragywyddol.

Y gwrryw a'r fenyw nefolaidd, wedi yr adgyfodiad, a fyddant wedi eu perffeithio mewn gwybodaeth, ac mewn santeiddrwydd, ac mewn purdeb serch a chariad: byddant yn gwybod fel y mae Duw yn gwybod; byddant bur megys y mae Efe yn bur, a charant yr un fath ag y câr Ef: eu gwybodaeth, eu purdeb, a'u serchiadau, cyn eu gogoneddiad nefolaidd, a gynnyddant fel eu gilydd, a chadwant gam yn ngham gyda eu gilydd, hyd nes eu perffeithir, pryd y mwynhant yn gyfiawn bob priodoledd a serch a fwynheir gan Dduw ei hunan, a byddant yn debyg iddo Ef yn yr holl bethau hyn. Pryd hyny,

ac nid hyd y pryd hyny, eu caniateir i daenu yr urdd uwch hwnw o fodau a elwir ysbrydion. Megys yr argreffir cymmeriad rhieni yn y bywyd hwn, i fesur mawr, ar eu plant, felly yr un modd yr ymgorffolir cymmeriad y rhieni nefolaidd, yn ngwir fodoliaeth eu hysbryd eppil. Bydd i'r ysbryd-ddefnydd anghorfforol nid yn unig gymmeryd ffurf neu ddelw y rhiaint nefolaidd, ond pob mymryn o hono a ddechreua ddileni hadau yr holl briodoliaethau hyny a breswyliant yn eu holl gyflawnder o fewn pob un o'r ddau yn dad a mam.

Pe caffai bodau na pherffeithiwyd y fraint o hilio ysbryd eppil, nis gallent argraffu ymgorffoliad y milrith ysbryd gydag elfenau y priodoliaethau uwch hyny a berthynant i'r nefolaidd; ac, o ganlyniad, pe yr ymddygid hedyn yr ysbryd babanaidd a'i ffurfio mewn anmherffeithrwydd, ni allai yr uwchadeilad neu ysbryd babanaidd ei hun fyth fyned yn mlaen i berffeithrwydd. Rhaid i'r tragywyddol briodoliaethau gael eu dilenu yn addas, mewn trefn iddynt gael eu haddas berffeithio; hyn yw y rheswm na fydd i neb ond y rhai hyny a gyrhaeddant y cyflawnder o nefol ogoniant, a dyfod yn Dduwiau, gael eu hymddiried gyda gwragedd, a chyda gallu i hilio meibion a merched; fel y byddo i hyn, y mwyaf pwysig o bob pethau—yr ymgorffoliad o ysbrydion anfarwol, gael ei ddwyn oddiamgylch trwy yr uwchaf, a'r mwyaf dyrchafedig, a'r mwyaf gogoneddus o bersonau yn y bydyssawd, gael iddynt dreiddioli i wir gyfansoddiad eu cariadus blant hadau yr holl fawr, a phur, a'r ardderchog briodoliaethau y rhai ydynt wedi eu perffeithio yn eu holl gyflawnder ynddynt eu hunain.

Os na chaniateir i neb ond Duwiau i liosogi plant anfarwol, mae yn canlyn y rhaid fod pob Duw yn cael un neu ychwaneg o wragedd. Daeth Duw, Tad ein ysbrydoedd, yn Dad ein Harglwydd Iesu Grist yn ol y cnawd. Am hyny, dywed y Tad am dano, "Ti yw fy Mab, myfi heddyw a'th genedlais." Hysbysir ni yn y bennod gyntaf o Luc, i Mair gael ei dewis gan y Tad fel morwyn ddewisol, trwy yr hon y cenedlodd Efe Iesu. Dywedodd yr angel wrth y Forwyn Fair, "Yr Ysbryd Glân a ddaw arnat ti, a nerth y Goruchaf a'th gysgoda di: am hyny, hefyd, y peth santaidd a enir o honot ti a elwir yn Fab Duw." Wedi i nerth y Goruchaf gysgodi Mair, ac iddi trwy y moddion hyny ymddwyn, hi a fynegodd yr amgylchiad i'w

chefnither Elizabeth yn y geiriau canlynol: "Efe yr hwn sydd Alluog a wnaeth i mi bethau mawrion; a santaidd yw ei enw Ef." Ymddengys oddiwrth yr hanes hyn, i'r Ysbryd Glân ddyfod gyda y "Goruchaf" pan gysgododd y Forwyn Fair a chenedlu Iesu; ac oddiwrth yr amgylchiad hwn tybiodd rhai y cenedlwyd corff Iesu o'r Ysbryd Glân, heb yr offerynoliaeth o bresennoldeb uniongyrchol y Tad. Nid oes yna ammheuaeth i'r Ysbryd Glân ddyfod ar Mair i'w santeiddio hi, a'i gwneyd yn lân, a'i pharotoi i oddef presennoldeb gogoneddus "y Goruchaf," fel pan y byddai iddo "Ef" ei chysgodi y gallai ymddwyn, wedi ei llenwi gyda'r Ysbryd Glân; am hyny dywedodd yr angel, fel ei cofrestrwyd gan Mathew, "Yr hyn a ymddygwyd ynddi sydd o'r Ysbryd Glân;" hyny yw, yr Ysbryd Glân a roddodd iddi nerth i oddef presennoldeb y Tad heb ei hysu; ond person y Tad oedd yr hwn a genedlodd gorff Iesu; ac am y rheswm hwn y gelwir yr Iesu "yn Unig-anedig y Tad;" hyny yw, yr unig un yn y byd hwn y cenedlwyd ei gorff cnawdol gan y Tad. Yr oedd yno filiynau o feibion a merched a genedlodd Efe cyn seiliad y byd hwn, ond ysbrydion oeddynt, ac nid cyrff o gnawd ac esgyrn; tra y cafodd pob un o'r ddau, ysbryd a chorff Iesu, eu cenedlu gan y Tad—yr ysbryd wedi ei genedlu yn y nef lawer o oesoedd cyn i'r tabarnacl gael ei genedlu ar y ddaear.

Gofynai corff cnawdol Iesu Fam yn gystadl â Thad. O ganlyniad, rhaid oedd i Dad a Mam Iesu, yn ol y cnawd, fod wedi cymdeithasu ynghyd yn nghyflwr gwr a gwraig; am hyny, rhaid yw bod y Fair Forwyn, am yr amser hyny, yn wraig *gyfreithlawn* Duw y Tad: yr ydym yn arfer ymadrodd Gwraig *gyfreithlawn*, o herwydd y byddai yn gabledd yn y radd uchaf ddywedyd iddo Ef ei chysgodi hi neu genedlu yn anghyfreithlawn. Buasai yn anghyfreithlawn i unrhyw *ddyn* ymyraeth â Mair, yr hon oedd eisoes wedi ei dyweddio i Joseph; oblegid buasai y fath gamwedd erchyll yn gwneyd pob un o'r ddwy blaid euog yn ddarostyngedig i farwolaeth, yn ol cyfraith Moses. Ond yr oedd gan Dduw, wedi creu pob dynion a menywod, yr hawl berffeithiaf i wneuthur gyda ei greadigaeth ei hun, yn ol ei ewyllys a'i hyfrydwch santaidd Ef: yr oedd ganddo Ef hawl gyfreithlawn i gysgodi y Fair Forwyn yn nghyflwr gwr, a chenedlu Mab, er ei bod wedi ei dyweddio i

arall; oblegid y gyfraith a roddodd Ef i lywodraethu dynion a menywod ni amcanwyd i lywodraethu ei hunan, neu i osod rheolau i'w ymddygiad ei hun. Yr oedd hefyd yn gyfreithlawn ynddo Ef, wedi iddo ymwneyd fel hyn â Mair, i'w rhoddi hi i Joseph ei gwr dyweddiog. Pa un a fu i Dduw Dad roddi Mair i Joseph dros amser yn unig, neu dros amser a thragywyddoldeb, nis mynegwyd i ni. Yn gymmaint mai Duw oedd y gwr cyntaf iddi, dichon nad oedd Ef ond yn ei rhoddi i Joseph tra yn y sefyllfa farwol hon, a'i fod Ef wedi bwriadu ar ol yr adgyfodiad i'w chymmeryd hi etto fel un o'i wragedd ei hunan i godi i fyny ysbrydion anfarwol yn nhragywyddoldeb.

*(I'w barhau.)* *Cyf.* Robyn Ddu.

---

## YR "UDGORN" AM Y FLWYDDYN NESAF.

Gan fod y Gyfrol bresennol ar gael ei gorphen, defnyddiwn yr adeg hon i gynhyrfu y Saint oll, o'r Llywyddion i lawr at yr aelodau, i barotoi gogyfer â'r Udgorn am 1854, trwy wneyd pob ymdrech yn eu gallu i ennill iddo gylchrediad helaeth. Er rhoi annogaeth iddynt yn y gorchwyl hwn, mae yn dda genym i hysbysu y bydd y gyfrol nesaf dan olygiaeth fedrus yr Henuriad Dan Jones, yr hwn sydd wedi cael manteision mawrion, a phrofiad llawer o flynyddoedd, er ei addasu i'r gwaith, heblaw iddo fod yn ymwneyd â'r un gwaith pan yn y wlad hon o'r blaen. Ystyriwn fod Udgorn y flwyddyn hon wedi rhagori ar y lleill oll, gan y cynnwysa y fath draethodau campus, gan yr Henuriad Orson Pratt ac ereill; a chredwn y gellir dysgwyl llawer o draethodau yn y gyfrol nesaf, a fydd yn rhagori etto ar hon. Caiff yr un papyr da ei ddefnyddio y flwyddyn nesaf, ag a ddefnyddir ynddo eleni, a'r un lythyren newydd.

Erfynir gwybodaeth yma yn ddiffael o bob Cangen a Chynnadledd, pa nifer a dderbynir yn y flwyddyn nesaf, erbyn y Sadwrn o flaen Nadolig. Daw y rhifyn olaf o'r flwyddyn hon allan ar yr 31ain o Ragfyr, pan y byddwn ni yn rhoddi ein goruchwyliaeth i fyny.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

At yr Ymfudwyr.—Cymmerir y cyfleu hwn i ddwyn ar gof i chwi y cyfarwyddiadau a roddwyd gan y Llywydd S. W. Richards, pa rai a ddaethant allan yn y *Star* a'r Udgorn. Mae esgeulusdod mawr wedi bod ynghylch danfon pa faint sydd yn bwriadu ymfudo o'r Cynnadleddau, gyda'r cwmnioedd £13

a £10. Yr oedd y Llywydd Richards yn ymofyn hysbysiad erbyn y 1af o'r mis hwn, yr hyn sydd wedi achosi i ni ysgrifenu yn bresennol. Dylai fod mwy o sylw yn cael ei roddi i'r cyfarwyddiadau ynghylch ymfudo o hyn allan: mae yn ofynol i'r ymfudwyr ddarllen a myfyrio mwy ar yr hyn sydd yn cael ei gyhoeddi iddynt hwy yn benodol. Dymunir galw sylw y Llywyddion at hyn, ac hefyd i gydnabod y dyledswyddau a berthyn iddynt mewn cyssylltiad â'r ymfudwyr, megys eu cynghori a'u cyfarwyddo, o herwydd fod llawer o rwystrau yn dyfod yn eu herbyn; a gweddiwch drostynt ar iddynt lwyddo yn eu hymdrechiadau. Bydded i bawb sydd yn ymfudo gyda y cwmni £13, i ddanfon £8 yr un yma, erbyn yr 20fed o'r mis hwn. Hefyd, y sawl a allo gasglu £10, bydded iddynt ddanfon yr un modd erbyn yr amser uchod. Gofaled y Llywyddion fod y dosparth hwn o ymfudwyr, yn ddynion ag sydd yn deilwng o gael benthyg £3 yr un. Ni ddysgwylir i neb fyned gyda y cwmpeini £10, os meddant £13 yr un. Bydd y gweddill i'w talu yn Liverpool. Gall pawb sydd yn dewis cael gweddeuau wedi eu prynu yn barod, ddanfon ar frys yma i mi £45 yr un, fel y gallwyf finnau eu danfon yr un pryd i Liverpool.—*Wm. S. Phillips.*

MAE y Llywyddion Cynnadleddau canlynol i ymfudo y tro nesaf:—Thomas C. Martill, Sir Gaerfyrddin; Phillip Sykes, Penfro Ogleddol. Yr Henuriaid Teithiol ag sydd i ymfudo, mor bell ag y gwyddom ni yn bresennol, ydynt—W. D. Jones, Dwyreiniol Morganwg; George Byewater, Gorllewin Morganwg; David Williams, Deau Penfro.

---

TALIADAU O RHAG. 2 HYD RHAG. 8.—Dyffryn Conwy, £2; Dinas, 5s; Aberamman, 4s; Georgetown, 5s 2c; Troedyrhiw, 4s.—Cyfanswm, £2 18s 2c.

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg, ar y 25ain o Ragfyr; Sir Fynwy, ar y 1af o Ionawr; Sir Frycheiniog, ar yr 8fed; Gorllewin Morganwg, ar y 15fed; Llanelli, ar yr 22ain; Caerfyrddin, ar y 29ain; Sir Aberteifi, ar y 5med o Chwefror; Gogledd Penfro, ar y 12fed; a Deau Penfro, ar y 19eg.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 25.] RHAGFYR 17, 1853. [CYF. VI.

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 387.]

FEL y cenedlodd Duw Dad gorff cnawdol Iesu, felly Efe, cyn i'r byd ddechreu, a genedlodd ei ysbryd. Fel y gofynai y corff fam ddaearol, felly y gofynai ei ysbryd Fam nefol. Fel y cymdeithasodd Duw yn nghyflwr gwr gyda'r fam ddaearol, felly yr un modd y cymdeithasodd yn yr unrhyw gyflwr gyda'r un nefol; pethau daearol ydynt ar ddelw y pethau nefol; ac y mae yr hyn sydd amserol yn nelw yr hyn sydd dragywyddol; neu, mewn geiriau ereill, mae y deddfau cenedliad ar y ddaear yn ol trefn y deddfau cenedliad yn y nef. Eithr os oes genym Fam nefol yn gystadl â Thad nefol, ai nid iawn y dylem addoli Mam ein ysbrydoedd yn gystadl â'r Tad? Nage; oblegid mae Tad ein ysbrydoedd wrth ben ei dylwyth, a gofynir i'w wragedd a'i blant Ef i roddi yr ufydd-dod perffeithiaf i'w Pen mawr. Cyfreithlawn yw i'r plant addoli Brenin y nef, ond nid "Brenines y nef." Ceryddwyd plant Israel yn llymdost am offrymu i "Frenines y nef." Er ei bod yn dra dyrchafedig ac anrhydeddus megys priodasferch anwylaidd y Brenin mawr, etto, gan belled ein hysbyswyd, ni orchymynwyd y plant erioed i weddio arni hi neu ei haddoli hi. Gweddiodd Iesu ar ei Dad, a dysgodd i'w ddyscyblion wneyd yr un modd; ond nis dysgir ni yn un man fod Iesu wedi gweddio at ei Fam nefol Ef; ni weddiodd chwaith at yr Ysbryd Glân megys ei Dad. Pe ei cenedlid Ef gan yr Ysbryd Glân, yna Efe a'i

galwasai Ef yn Dad; ond yn lle gwneyd felly, yr oedd yr Ysbryd Glân ei hun yn ddarostyngedig i'r Iesu; ac yr oedd ganddo y gallu i'w anfon ef fel ei genadydd wedi ei ddychweliad at ei Dad.

Yn nesaf gadawer i ni ymholi a oes unrhyw awgrymiadau mewn ysgrythyr am wragedd Iesu. Ymddyddanasom eisoes yn yr 20fed rhifyn o'r gyfrol hon am gynnydd diddiwedd llywodraeth Crist. Yn awr, nid oes genym reswm i dybied y parhauai y cynnydd hwn oddigerth trwy ddeddfau cenedliad, trwy y rhai y delai Iesu, fel ei Dad, yn Dad ysbrydoedd, ac mewn trefn i ddyfod yn Dad ysbrydoedd, neu fel y dywed Esaiah, "Y Tad tragywyddol," anghenrheidiol yw iddo gael un neu ychwaneg o wragedd, trwy y rhai y gallai liosogi ei hâd Ef, nid am unrhyw ystod terfynol o amser, ond am byth bythoedd: fel hyn, Efe a fyddai yn wirioneddol yn Dad yn dragywyddol, yn unol â'r enw yr hwn ydoedd i'w roddi iddo Ef. Nid yw yr Efengylwyr yn siarad yn benodol am briodas Iesu; eithr nid ydyw hyn i'w ryfeddu, oblegid dywed St. Ioan: "Ac y mae hefyd lawer o bethau ereill a wnaeth yr Iesu, y rhai pe ysgrifenid hwy bob yn un ac un, nid wyf yn tybied y cynnwysai y byd y llyfrau a ysgrifenid" (Ioan xxi, 25). Un peth sydd sicr, fod yno amryw fenywod santaidd a garasant yr Iesu yn fawr—megys Mair, a Martha ei chwaer, a Mair Magdalen; a charodd yr Iesu hwynt yn fawr, a chymdeithasodd lawer gyda hwynt; a phan adgyfododd oddiwrth y meirw, yn lle dangos ei hun yn gyntaf i'w dystion dewisedig, yr Apostolion, Efe a ymddangosodd yn gyntaf i'r menywod hyn, neu o leiaf i un o honynt, sef Mair Magdalen. Yn awr, byddai yn dra naturiol i wr yn yr adgyfodiad ymddangos yn gyntaf i'w wragedd anwyl ei hun, ac wedi hyny i'w gyfeillion ereill. Pe ysgrifenasid holl weithredoedd yr Iesu, nyni, yn ddiammau, a ddysgem mai y menywod anwylaidd hyn oeddynt ei wragedd. Yn wir, y Salmydd, Dafydd, a brophwyda yn benodol am wragedd Mab Duw. Yr ydym yn adrodd o gyfieithad Saesneg y Beibl, a gyfieithwyd oddeutu tri chant a deg a deugain o flynyddoedd yn ol: "Dy holl wisgoedd a aroglant o fyrr, ac aloes, a chassia; pan y deui allan o'r palasau ifori, lle gwnaethant di yn llawen, merched Breninoedd oeddynt yn mhlith dy WRAGEDD anrhydeddus; ar dy ddeheulaw safodd y FRENINES mewn amwisg o

aur Ophir" (Salm xlv, 8, 9). Fod gan y geiriau hyn gyfeiriad penodol at Fab Duw a'i wragedd Ef, a ganfyddir trwy ddarllen y chwechfed a'r seithfed adnodau, y rhai sydd fel y canlyn: "Dy orseddfainc di, O Dduw, sydd yn oes oesoedd; teyrnwialen uniondeb yw teyrnwialen dy deyrnas di. Ti a geraist gyfiawnder, ac a gaseaist anwiredd; am hyny, Duw, dy Dduw, a'th eneinniodd di gydag olew gorfoledd tu hwnt i'th gyfeillion. Y Bod hwn a eilw y Salmydd yma yn Dduw, a ddangosir yn yr adnodau nesaf fel yn meddiannu "Gwragedd anrhydeddus." Pe parhäai neb i ammau fod gan y brophwydoliaeth hon gyfeiriad at Fab Duw, gallant foddloni eu hunain trwy ddarllen cymhwysiad Paul o'r ymadroddion hyn, yn yr wythfed a'r nawfed adnodau yn y bennod gyntaf o'i epistol at yr Hebreaid:—"Ond wrth y Mab y dywedodd, Dy orseddfainc di, O Dduw, sydd yn oes oesoedd; teyrnwialen uniondeb yw teyrnwialen dy deyrnas di. Ti a geraist gyfiawnder, ac a gaseaist anwiredd; am hyny i'th eneinniodd Duw, sef dy Dduw di, ag olew gorfoledd tu hwnt i'th gyfeillion." Mae Paul yn cymhwyso geiriau y prophwyd Dafydd at Fab Duw, at y Messiah eneinniedig, yr hwn a elwir yn Dduw, a "gorseddfainc yr hwn sydd yn oes oesoedd." Bydded mewn coffadwriaeth, ynte, y dangosir Mab Duw yn benodol fel yn berchen "Gwragedd anrhydeddus." Nid oedd cyfieithwyr y Brenin Iago yn ewyllysio i'r frawddeg hon gael cyfieithad llythyrenol, yn unol â sylwedd y Saesnaeg blaenorol, rhag iddo gefnogi amlwreigiaeth; am hyny newidiasant i *bendefigesau* yn lle *gwragedd* anrhydeddus; ond unrhyw berson yn hysbys o'r gwreiddiol a all ganfod mai y cyfieithad cyntaf a roddodd wir ystyr y frawddeg yna. Yn wir, mae y frawddeg nesaf ati yn profi hyn yn eithaf eglur; o herwydd y dangosir Mab Duw fel yn berchen "BRENINES yn sefyll ar ei ddeheulaw, wedi ei dilladu mewn amwisg aur." Cynghorir y Frenines hon yn yr iaith anwylaidd a ganlyn: "Gwrandaw, O ferch, ac ystyria a gostwng dy glust; anghofia hefyd dy bobl dy hun, a thŷ dy dad; felly y caiff y Brenin chwennych dy degwch yn fawr, canys efe yw dy Arglwydd; ac ymostwng dithau iddo Ef' (adnodau 10, 11).

Er rhifo y Frenines yn mhlith "Gwragedd anrhydeddus" Mab Duw, etto gelwir arni hi i'w *addoli ef fel ei Harglwydd.* Pe na buasai ei gwr ond dyn syml, ni chynghorid hi i'w addoli

ef; hyn, gan hyny, sydd dystiolaeth arall ei fod ef mewn gwirionedd, fel y dywed Paul, yn Fab Duw.

Yn gymmaint â bod i'r Messiah gael "lliosogrwydd Gwragedd," ai ni fyddant hwy oll yn Freninesau? Byddant: eithr bydd trefn yn eu mysg. Ymddengys y dewiswyd Un i sefyll ar ei ddeheulaw: dichon y teilyngodd hi y sefyllfa yna, trwy ei gweithredoedd cyfiawn, neu trwy y cyflwr a feddiannai yn flaenorol. Ymddengys ei bod yn un o ferched brenin: oblegid dywedir yn yr unrhyw Salm, "Merch y brenin sydd oll yn ogoneddus o fewn: gemwaith aur yw ei gwisg hi. Mewn gwaith edau a nodwydd y dygir hi at y Brenin: y morwynion y rhai a ddeuant ar eu hol, yn gyfeillesau iddi, a ddygir atat ti. Mewn llawenydd a gorfoledd y dygir hwynt: deuant i lys y Brenin" (adnodau 13, 15). Rhaid yw cofio fod "merched breninoedd yn mhlith dy Wragedd anrhydeddus." Y breninoedd a sonir am danynt yma oeddynt yn ddiammau y rhai hyny, a ddaethant, trwy ufydd-dod i'r Efengyl, yn freninoedd ac offeiriaid am byth; oblegid nis gallwn dybied y priodasai Crist ferched breninoedd y byd hwn, y rhai nad ydynt ond llywodraethu o dan yr enw a gymmerant arnynt o fod yn freninoedd am y bywyd byr hwn: nid yw y fath yn deilwng o'u galw yn freninoedd. Rhai o ferched y breninoedd hyny y rhai ydynt i deyrnasu ar y ddaear yn oes oesoedd, a'r rhai ydynt freninoedd mewn gwirionedd, a fyddant yn mhlith ei "wragedd anrhydeddus," ac un ddewisedig i sefyll fel Brenines ar ei ddeheulaw a'i addoli Ef, i'r hon y gwneir yr addewid ganlynol: "Yn lle dy dadau y bydd dy blant, y rhai a wnai yn dywysogion yn yr holl ddaear. Paraf gofio dy enw yn mhob cenedlaeth: am hyny y bobl a'th foliannant byth ac yn dragywydd" (adnodau 16, 17).

Ni ein hysbyswyd pa bryd yr oedd i'r Iesu gael ei briodi gyda merch y brenin hwn, neu neb arall o'i wragedd. Eithr, oddiwrth yr hyn a ddywed Ioan Fedyddiwr, dichon y priodwyd Ef i rai o honynt cyn merthyrdod y Prophwyd hwnw; y frawddeg sydd fel y canlyn: "Yr hwn sydd ganddo y Briodasferch yw y Priod-fab; ond cyfaill y Priod-fab, yr hwn sydd yn sefyll ac yn ei glywed Ef, sydd yn llawenychu yn ddirfawr oblegid llef y Priod-fab: fel hyn fy llawenydd i gan hyny a gyflawnwyd. Rhaid yw iddo Ef gynnyddu ac i minnau leihau"

(Ioan iii, 29, 30). Ac etto, "A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, A all plant yr ystafell briodas alaru tra fo y Priod-fab gyda hwynt? Ond y dyddiau a ddaw, pan ddygir y Priod-fab oddiarnynt, ac yna yr ym rydiant" (Mathew ix, 15). Arddengys Ioan yr Iesu, fel eisoes yn meddiannu y Briodas-ferch; tra mae y Gwaredwr yn cadarnhau yr hyn a ddywed Ioan, trwy alw ei hun y "Priod-fab," a'i ddyscyblion "plant yr ystafell-briodas," ond pwy oedd y Briodas-ferch, ni ein hysbysir gan neb o honynt. Pa un a briododd yr Iesu neb o'i wragedd yr amser hwnw ai peidio, mae yn dra amlwg y bydd yno briodas i Fab Duw yn amser ei ail ddyfodiad: o herwydd y dywed yr Iesu, "Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i ryw frenin a wnaeth briodas i'w fab, ac a ddanfonodd ei weision i alw y rhai a wahoddasid i'r briodas, ac ni fynent hwy ddyfod. Drachefn Efe a anfonodd ei weision ereill, gan ddywedyd, Dywedwch wrth y rhai a wahoddwyd, Wele, parotöais fy nghiniaw: fy ychain a'm pasgedigion a laddwyd, a phob peth sydd barod: deuwch i'r briodas. Ond hwy yn ddiystyr ganddynt, a aethant ymaith, un i'w faes, ac arall i'w fasgnach; a'r lleill a ddaliasant ei weision Ef, ac a'u hanmharchasant, ac a'u lladdasant. Eithr pan glybu y Brenin, efe a lidiodd; ac a ddanfonodd ei luoedd, ac a ddinystriodd y lleiddiaid hyny, ac a losgodd i fyny eu dinas hwynt. Yna efe a ddywedodd wrth ei weision, Yn wir, y briodas sydd barod, ond y rhai a wahoddasid nid oeddynt deilwng. Ewch chwi, gan hyny, i'r prif ffyrdd, a chynnifer ag a gaffoch, gwahoddwch i'r briodas. Felly y gweision hyny a aethant allan i'r prif ffyrdd, ac a gasglasant ynghyd gynnifer ag a gawsant, drwg a da: a llanwyd y briodas â gwahoddedigion. A phan ddaeth y brenin i mewn i weled y gwahoddedigion, Efe a welodd yno ddyn heb wisg briodas am dano: ac efe a ddywedodd wrtho, Y cyfaill, pa fodd y daethost i mewn yma heb fod genyt wisg briodas? Ac yntau a aeth yn fud. Yna y dywedodd y brenin wrth ei weinidogion, rhwymwch ef draed a dwylaw, a chymmerwch ef ymaith, a theflwch ef i'r tywyllwch eithaf; yno y bydd wylofain a rhincian dannedd: canys llawer sydd wedi eu galw, ac ychydig wedi eu dewis" (Mathew xxii, 1—14). Caniata pawb mai y mab brenin, y dywedir am dano yma, ydyw Iesu Grist, a bod gan y gweinidogion diweddaf a anfonir allan genadwri i gasglu ynghyd o'r priff ffyrdd a'r

caeau, y drwg a'r da fel eu gilydd; ac mai trwy y casglu hwn, y "llanwyd y briodas gyda gwahoddedigion." Crybwyllir y Priod-fab, y gweinidogion, a'r gwahoddedigion oll: ond nid yw y ddammeg yn ein bysbysu pwy yw y Briodas-ferch. Mae Ioan y Dadguddiwr yn desgrifio mawredd, gogoniant, a gwychder y gadwraeth briodasol hon. Efe a ddywed, "Ac mi a glywais megys llef tyrfa fawr, ac megys llef dyfroedd lawer, ac megys llef taranau nerthol, yn dywedyd, Haleliwia: oblegid teyrnasodd yr Arglwydd Dduw Hollalluog. Llawenychwn, a gorfoleddwn, a rhoddwn ogoniant iddo Ef: oblegid daeth priodas yr Oen, a'i Wraig Ef a'i parotôdd ei hun. A chaniatawyd iddi gael ei gwisgo â llïain main, glân a dysclaer: canys y llïain main ydyw cyfiawnder y Saint. Ac efe a ddywedodd wrthyf, Ysgrifena, Bendigedig yw y rhai a elwir i swper neithior yr Oen" (Dad. xix, 6—9). Y byddai i'r wraig fod yn ddynes nodedig dda a santaidd, a awgrymir yn hynod amlwg trwy iddi gael ei gwisgo â "chyfiawnder y saint," yn gymhariaethol â llain main, glân a dysclaer. Desgrifir ei gwisg yn llawnach yn y Salm a adysgrifwyd eisoes, yn gyfansoddedig o nodwydd-waith aur, tra llawer o forwynion i fod o'i hol yn gyfeillesau iddi.

Y bydd i'r Briodas-ferch b[illegible] au i fod yn wraig i Fab Duw yn nhragywyddoldeb, yn gystadl ag amser, a ddadguddiwyd yn y modd egluraf yn yr unfed bennod ar hugain o'r Dadguddiad, lle gwelodd St. Ioan y Ddaear Newydd, ac y dywedodd yr angel wrtho ef, "Tyred yma, a dangosaf i ti y Briodasferch, Gwraig yr Oen;" ac efe a gludwyd yn yr ysbryd i fynydd mawr ac uchel, a gwelodd ddinas fawr, a elwid y Jerusalem santaidd, yn disgyn o'r nefoedd ar y Ddaear Newydd. Cynnwysai y ddinas hon orseddfainc Duw a'r Oen, a phreswylid hi gan genedlaeth fawr o freninoedd, y rhai oeddynt i "deyrnasu yn oes oesoedd," yn Dduwiau, fel y mae yn amlwg oddiwrth fod enw Duw wedi ei ysgrifenu ar bob un o'u talcenau. Nis amcanwyd yr ysgrif ar eu talcenau fel ond ffug neu watwaredd, eithr yr oedd mewn gwirionedd yn enw a roddwyd i bob un, fel y byddai i holl breswylyddion tragywyddoldeb, pan y gwelsent DUW wedi ei ysgrifenu yn eglur ar eu holl dalcenau, allu gwybod yn hollol sicr fod pob un yn Dduw. megys ag yr arddangosid yn bendant gan y teitl neu yr enw ysgrifenedig.

Desgrifir yn mhellach etto, ardderchawgrwydd a gogoniant y ddinas hon: y ddinas a'i heolydd oeddynt aur pur, yn ddysclaer fel gwydr, tra ei muriau a'i phyrth oeddynt o'r meini gwerthfawrocaf; a gogoniant Duw a oleuai y ddinas, fel nad oedd arnynt eisieu goleuni yr haul na'r lloer. Yr oedd y goleuni hwn mor fawr, fel y byddai i'r holl genedloedd a waredwyd, ac a breswylient ar wyneb y Ddaear Newydd. rodio yn ei oleuni. Nid oedd nos yno, eithr yr holl Ddaear a wisgid mewn un tragywyddol ddydd. Yn nghanol y ddinas hon yr eisteddai Brenin breninoedd ac Arglwydd yr arglwyddi ar ei orseddfainc, tra ar ei "ddeheulaw Ef y safai y Frenines" yn addurnedig yn y gwisgoedd drutaf. Mewn trefn i Ioan allu gweled gogoniant Duw, gogoniant ei deyrnas, a gogoniant ei Briodas-ferch, angenrheidiol oedd dangos iddo y Palas, lle yr orseddfainc, a'r ddinas yn yr hon y preswyliai y Briodas-ferch. Dywedir yn bendant, am y Frenines hon, y cofir ei henw yn mhob cenedlaeth, ac y bydd i'r bobl ei chlodfori am byth bythoedd. (Salm xlv, 17.) Gan i Ioan ganfod mewn gweledigaeth y Briodas-ferch, Gwraig yr Oen, fwy nâ mil o flynyddoedd wedi ei phriodas—wedi iddi hi a'r lleill oll o breswylyddion y ddaear gael eu codi oddiwrth y meirw, a dyfod yn anfarwol—y mae yn eithaf sicr ei bod hi mewn gwirionedd yn Wraig wedi yr adgyfodiad yn gystadl â chyn hyny, ac y bydd hi yn Wraig yr Oen byth ac yn dragywydd; ac yn y cymmeriad hwnw bydd iddi, megys y dywedodd y Salmydd, gael ei pharchu a'i chlodfori gan yr holl bobl byth ac yn dragywydd.

Y cedwir y briodas yn ail ddyfodiad y Messiah, a amlygir hefyd yn bendant yn nammeg y deg Morwyn: canys dywedodd yr Iesu, "Yna tebyg fydd teyrnas nefoedd i ddeg o Forwynion, y rhai a gymmerasant eu lampau, ac a aethant allan i gyfarfod â'r Priod-fab. A phump o honynt oedd gall, a phump yn ffol. Y rhai ffol a gymmerasant eu lampau, ac ni chymmerasant olew gyda hwynt: ond y rhai call a gymmerasant olew yn eu llestri gyda eu lampau. Tra yr oedd y Priodfab yn aros yn hir, yr hepiasant oll ac yr hunasant. Ac ar hanner nos y bu gwaedd, Wele, y mae y Priod-fab yn dyfod, ewch allan i gyfarfod ag ef. Yna y cyfododd yr holl Forwynion hyny, ac a drwsiasant eu lampau. A'r rhai ffol a ddywedasant

wrth y rhai call, Rhoddwch i ni o'ch olew chwi; canys y mae ein lampau yn diffoddi. A'r rhai call a atebasant, gan ddywedyd, Nid felly; rhag na fyddo ddigon i ni ac i chwithau: ond ewch yn hytrach at y rhai sydd yn gwerthu, a phrynwch i chwi eich hunain. A thra yr oeddynt yn myned ymaith i brynu, daeth y Priod-fab; a'r rhai oedd yn barod a aethant i mewn gydag ef i'r briodas: a chauwyd y drws. Wedi hyny y daeth y Morwynion ereill hefyd, gan ddywedyd, Arglwydd, Arglwydd, agor i ni. Eithr Efe a atebodd ac a ddywedodd, Yn wir meddaf i chwi, nid adwaen chwi. Gwyliwch, gan hyny, am na wyddoch na'r dydd na'r awr y daw Mab y Dyn" (Math. xxv, 1—13). Dengys y ddammeg hon yn eglur, fel hono am briodas mab y brenin, a adysgrifasom eisoes, y bydd casglu allan o blith y cenedloedd—a mynediad allan i gyfarfod y Priod-fab; ond yn mysg y rhai hyny a gesglir, y bydd yno rai heb wisg priodas—heb olew yn eu lampau. Ond y pump Morwynion call y rhai ydynt barod, a ânt i mewn gyda'r Priod-fab i'r briodas, a chauir y drws. Ac yma gadawer i ni ofyn y gofyniadau canlynol: A yw y pump Morwyn gall hyn i gael eu priodi gyda'r Priod-fab, neu a ydynt ond gwahoddedigion? Ac os gwahoddedigion ydynt, pwy a gyfansodda y Briodas-ferch? Dywedir yn nammeg priodas mab y Brenin, "A llanwyd y briodas o *wahoddedigion*;" y gwahoddedigion ydynt y rhai hyny a dderbyniasant wahoddiad y gweinidogion, ac a ymgasglasant ynghyd. Os yw y pump morwyn gall yn cyfansoddi y gwahoddedigion, ŷna rhaid yw fod y Briodas-ferch yn rhyw forwyn gall a santaidd, a ddewiswyd i fod yn gymhar breninol neu Frenines. Ar y llaw arall, os yw y pump morwyn gall yn cynrychioli yr holl Saint, yn wrrywod a benywod, ac os ydynt oll yn cyfansoddi y Briodas-ferch, yna o ba le y daw y gwahoddedigion, neu pwy a fyddant hwy? Etto, os yw y pump morwynion yn wirioneddol forwynion neu fenywod a briodir gan y Priod-fab, yna bydd i'r oll ereill o'r Saint gyfansoddi y gwahoddedigion. Ai nid yw y pump morwynion call hyn "y Gwragedd anrhydeddus" a ddangosir gan y Salmydd, yn rai a gymmerwyd gan Fab Duw o blith merched breninoedd?

Canfyddir oddiwrth y frawddeg yn y bymthegfed Salm a deugain, am y Messiah mawr, yr hwn oedd sylfaenydd y

grefydd Gristionogol, a'i fod yn Amlwreigwr, yn gystadl â'r Patriarch Jacob a'r Prophwyd Dafydd, o'r rhai y disgynodd yn ol y cnawd. Dywed Paul am Iesu, "Canys ni chymmerodd efe naturiaeth angylion, eithr hâd Abraham a gymmerodd efe" (Heb. ii, 16). Gan fod Abraham, yr Amlwreigwr, yn gyfaill Duw, dewisodd y Messiah gymmeryd arno ei hun ei hâd; a thrwy briodi amryw wragedd anrhydeddus ei hunan, ddangos i'r holl genedlaethau dyfodol ei fod Ef yn cymmeradwyo Amlwreigiaeth o dan yr oruchwyliaeth Gristionogol, yn gystadl â than yr oruchwyliaeth yn yr hon y bu fyw ei Amlwreigiog hynafiaid Ef.

Dangosasom yn awr yn amlwg fod gan Dduw y Tad amlwragedd, un neu ychwaneg yn nhragywyddoldeb, trwy y rhai y cenedlodd Ef ein hysbrydoedd ni yn gystadl ag Ysbryd yr Iesu, ei Gyntaf-anedig Ef, ac un arall ar y ddaear trwy yr hon y cenedlodd Efe dabernacl yr Iesu, megys ei Unig-anedig Ef yn y byd hwn. Profasom hefyd yn eithaf eglur i'r Mab ddilyn siampl ei Dad, a dyfod y Priod-fab mawr i'r hwn y mae merched breninoedd a llawer o Wragedd anrhydeddus i gael eu priodi. Profasom hefyd fod Duw Dad, a'n Harglwydd Iesu Grist yn etifeddu eu gwragedd yn nhragywyddoldeb yn gystadl ag yn amser; a darfod i Dduw Dad genedlu eisoes lawer mil o filiynau o feibion a merched, a'u hanfon i'r byd hwn i gymmeryd tabernaclau; a bod gan Dduw Fab yr addewid na fydd "ar gynnydd ei lywodraeth un diwedd;" gan y mynegwyd yn benodol y bydd i blant un o'i Freninesau gael eu gwneuthur yn dywysogion yn yr holl ddaear. (Gwel Salm xlv, 16).

Dywed yr Iesu, "Yno y bydd wylofain a rhincian dannedd, pan weloch Abraham, ac Isaac, a Jacob, a'r holl brophwydi yn nheyrnas Dduw, a chwithau wedi eich bwrw allan" (Luc xiii, 28). Y mae llawer mor dduwiolaidd yn y genedlaeth hon ag a ystyrient y gwarthruddid hwynt yn fawr pe eu gorfyddid i gymdeithasu gyda dyn a chanddo aml-wragedd; ai ni fyddai yn wych i'r cyfryw ddymuno lle ar wahan oddiwrth deyrnas Dduw, fel na halogid hwy gan gymdeithas yr hen Amlwreigwyr hyn? Ac yna byddai yn beth mor hyllig i wyleidd-dra boneddigesau tra duwiolaidd y byd Cristionogol i weled Abraham a'i wragedd, Jacob a'i wragedd, a'r Iesu a'i wragedd anrhydeddus,

oll yn bwyta yn achlysurol wrth yr un bwrdd, ac yn gofwyo y naill y llall, ac yn ymddyddan am eu lliosog blant a'u teyrnasoedd. O, chwi foneddigesau moethus y byd Cristionogol, pa fodd y gellwch oddef y fath olygfa â hon? O, pa beth a wnewch, pan y gweloch hyd y nod ar byrth y Jerusalem santaidd enwau Deuddeg meibion pedair gwragedd yr Amlwreigwr Jacob? Os oes arnoch eisieu llygru eich moesau, ac echrysloni eich clustiau tyner, a rhoddi eich gwyleidd-dra duwiolaidd i'w wrido gan gymdeithas amlwreigwyr a'u gwragedd, na feiddiwch fyned yn agos i'r Jerusalem santaidd, nac yn agos i'r Ddaear Newydd; oblegid anrhydeddir Amlwreigwyr yno, a byddant yn mhlith y prif reolwyr yn y deyrnas hono.

Pedr a ddywed, "Yr un ffunud bydded y gwragedd ostyngedig i'w gwyr priod, * * * * megys yr ufyddhäodd Sarah i Abraham, gan ei alw ef yn Arglwydd: merched yr hon ydych chwi, tra fyddoch yn gwneuthur yn dda" (Pedr iii, 1, 6). Y menywod yn oes gyntaf Cristionogaeth a'i hystyriai yn anrhydedd mawr i ddyfod yn ferched i Abraham, ond yn awr daethant mor gyfiawn fel ei meddyliant yn warth eu canfod yn nghymdeithas Amlwreigwr; a diammheuol y tybient eu cymmeriadau wedi eu dyfetha am byth, pe byddai neb mor anweddaidd â'u galw yn ferched yr Amlwreigwr Abraham. Eithr nyni a ddywedwn wrthynt y modd i ochel y gwarth dwfn hwn; hwy a allant beidio gwneuthur yn dda; oblegid dywed Pedr mai ar yr ammod hon yn unig y deuant yn ferched i Abraham. Bydd yn anghenrheidiol i chwi wrthod Cristionogaeth, a pheidio ag ufyddhau i'r Efengyl: oblegid wrth wneyd felly gallwch beryglu eich enwau da yn fawr trwy ddyfod yn ferched i'r Amlwreigwr nodedig hwnw. Dyfod yn ferched i Amlwreigwr, trwy wirfoddol gofleidiad Cristionogaeth, a fyddai ar unwaith yn cymmeradwyo gweithredoedd y tad Abraham. Meddylier mor ofnadwy a hyll y byddai, i gael eich cymmydogion i gyfeirio bys dirmyg atoch, a dywedyd, "Dyna ferch i Abraham yn myned—cafodd ei mabwysiadu i deulu yr hen Amlwreigwr hwnw—rhaid ei bod yn fenyw hynod o anweddaidd i eisieu myned i'w deulu, i blith ei wragedd a'i ordderchwragedd—pwy fyth a feddyliasai y cofleidiasai hi ffydd Abraham, ac fel hyn gydsynio i gael ei mabwysiadu megys un o'i ferched, ar bryd y gwyddai hi yn dda ei gymmer-

iad! O, y fath warth! Rhyfeddwyf os na fydd arni eisieu myned i eistedd gyda ei thad mabwysiedig, a chyda ei wragedd yn nheyrnas Dduw. Meiddiaf ddywedyd y bydd; canys nid oes modd dywedyd pa mor bell yr arwain Cristionogaeth hwynt, pan yr elont gan belled â chael eu mabwysiadu i deulu Abraham. Mae yr athrawiaeth a gofleidiodd hi yn ei hysbysu y daw llawer o'r dwyrain, ac o'r gorllewin, ac o'r gogledd, ac o'r deau, i eistedd gydag Abraham, Isaac, a Jacob yn nheyrnas Dduw. O mor gywilyddus! Rhyfeddwyf paham na osodai y gyfraith attalfa i Gristionogaeth, tra y cynnyrcha y fath ddylanwad anfoesol, fel ag i achosi cymmaint nifer nid yn unig i gael eu mabwysiadu i'r teuluoedd gwarthus hyn, ond i gymmeryd arnynt fod y fath gymmeriadau yn myned i fodoli yn nheyrnas Dduw, ac yr â eu holl blant mabwysiedig yno hefyd. Nid yn unig hi a warthruddodd ei hun trwy fyned i'r fath deulu, eithr yn unol â'i hathrawiaeth hi bydd iddi gael cymdeithasu gyda chardotwyr, canys dywed ei llyfr, i'r angylion i gymmeryd gafael ar gardotyn tlawd o'r enw Lazarus, a'i ddwyn ymaith i fynwes Abraham. O, y fath deulu! Amlwreigwyr a chardotwyr oll ynghyd! Ac y mae y fenyw ddwl a thlawd yna yn un o'i ferched, ac yn dysgwyl pan y byddo farw y cludir hithau hefyd i'w fynwes. Rhyfeddwyf os na fydd yna ryw gagendor mawr, neu ryw ragfur arall, i gadw y fath gymmeriadau gwarthus rhag iddynt ormesu ar gymdeithas a llygru moesau y bobl dda a duwiolaidd, a fyddant feirw yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg! Rhyfeddwyf os cymmer yr angylion y fath eofndra ag i'n llusgo ni ymaith gan gynted ag y byddom feirw i fynwes y fath Amlwreigwr nodedig ag Abraham!" Os nad oes arnoch eisieu dyoddef y fath warth dwfn, rhaid i chwi gadw allan o deulu Abraham, trwy esgeuluso yr Efengyl; a phan y byddoch feirw, ni fydd i'r angylion eich cythryblu chwi gyda ei gymdeithas, eithr bydd yno gagendor mawr yn cyfryngu rhyngoch chwi a'i deulu, dros yr hwn ni fydd tramwyfa.

Yn gymmaint â bod y Saint yn Utah yn ei ystyried yn foesol, yn rhinweddol, ac yn ysgrythyrol, i arferyd y drefn o amlwreigiaeth, dylent geisio trwy bob moddion ddiddymu, nid yn unig o'u meddyliau eu hunain, ond o feddyliau eu plant, bob rhagfarn cyfeiliornus ac anweddus a yfasant yn flaenorol, trwy eu cymdeithasiad gyda chenedloedd y byd Cristionogol

diweddar. Dylai rhieni sydd ganddynt ferched geisio dystillio i'w meddyliau ei fod mor anrhydeddus iddynt gael eu huno mewn priodas gyda dyn da yr hwn sydd eisoes yn wr, ag ydyw i un sydd sengl. Dylid eu dysgu i wrthod cymdeithas a chynnygion am briodi pob dynion drygionus, pa un a fyddont sengl ai peidio. Dylai tad fod yn anmhleidgar i'w holl blant, a gwrteithio yr unrhyw gariad atynt oll; tra y dylai pob gwraig ddystillio i feddyliau ei phlant ei hun, yr angenrheidrwydd o garu plant pob un o'r lleill, megys brodyr a chwiorydd. Dylai pob gwraig ofalu nid yn unig am gysur ei gwr a'i phlant ei hunan, eithr dylai hefyd ymgeisio am ddedwyddwch pob un o'i wragedd a'i blant ereill. A'r un ffunud, dylai plant pob gwraig nid yn unig barchu, anrhydeddu, a charu eu mam eu hunain, ond hefyd mamau yr oll o'u brodyr a'u chwiorydd. Trwy gadw yr eirchion hyn, bydd i heddwch a thawelwch deyrnasu trwy bob dosparth o'r teulu, a bydd i ysbryd Duw ddylifo yn rhwydd o galon i galon.

Nid oes dim i'w ddymuno gymmaint mewn teuluoedd â heddwch, cariad, ac undeb ; y maent yn hanfodol i ddedwyddwch yma a gwedi yma. Ac mewn trefn i gynnyrchu y gwrthrychau dymunol hyn, nyni a annogem gadwraeth y rheolau canlynol.

*Rheol 1af.*—Bydded i'r dyn hwnw a fwriada ddyfod yn wr, geisio yn gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef, a dysgu llywodraethu ei hun, yn unol â chyfraith Duw : canys yr hwn nas gall lywodraethu ei hunan nis gall lywodraethu ereill; bydded iddo gyssegru ei eiddo, ei dalentau, ei amser, ac hyd y nod ei fywyd i wasanaeth Duw, gan gynnal pob peth i'w gyfraniad Ef, i wneuthur â'r unrhyw, yn unol ag fel y cyfarwyddo Ef trwy y cynghor a ordeiniodd Efe.

*Rheol 2il.*—Bydded iddo yn nesaf geisio doethineb i'w gyfarwyddo yn newisiad ei wragedd. Bydded iddo geisio y rhai hyny y bydd i'w cymmwysderau ei wneuthur ef a hwythau yn ddedwydd. Na fydded iddo yn hollol edrych ar brydferthwch gwynebpryd, neu wychder gwisg, neu gynnysgaeth mawr, neu weniadau celfyddydol, neu wyleidd-dra ymddangosiadol menywod ; oblegid yr oll hyn, heb y rhinweddau cynhenid, ydynt fel y defnynau gwlith a ymloywant am eiliad yn yr haul, ac a belydrant i'r llygad, eithr a ddiflanant ymaith yn

fuan. Ond bydded iddo edrych am dueddiadau mwynion ac hawddgar; am wyleidd-dra cynhenid; am arferion diwyd; am rinwedd gwreiddiol; am onestrwydd, uniondeb, a gwirionedd; am lendid mewn person, mewn gwisg, mewn coginio, ac mewn pob math o lafur teuluaidd; am sirioldeb, amynedd, a sefydlogrwydd cymmeriad; ac uwchlaw y cyfan, am grefydd gynhenid i reoleiddio a llywodraethu eu holl feddwl a'u gweithred. Pan wedi canfod y rhai a feddiannant y cymhwysderau hyn, bydded iddo geisio eu meddiannu yn gyfreithlawn trwy ei gynghor Ef, yr hwn sydd yn dal allweddau yr offeiriadaeth dragywyddol, fel y prioder hwynt iddo trwy awdurdod y Nef, ac fel hyn eu sicrhau iddo am amser ac am bob tragwyddoldeb.

*Rheol 3ydd.*—Pan fo dyn wedi cael ei wragedd, na fydded iddo dybied eu bod eisoes yn berffaith yn mhob peth; canys nis gellir dysgwyl hyn yn y rhai ag ydynt ieuainc, ac heb ymarferyd yn ngofalon ac ymweliadau bywyd priodasol. Hwynt, megys y llestri gwanaf, a roddwyd iddo ef megys y cryfaf, i'w maethu, noddi, ac amddiffyn; i fod eu pen, eu patriarch, a'u gwaredwr; i'w dysgu, hyfforddi, cynghori, a'u perffeithio hwynt yn mhob peth perthynol i lywodraeth deuluaidd, ac i'w cysur a'u dyddanwch eu hunain a'u plant. Gan hyny, bydded iddo wirioneddu y cyfrifoldeb pwysig sydd yn awr wedi ei osod arno, megys pen teulu; a bydded iddo hefyd astudio yn ddyfal dueddiadau ei wragedd, fel y gwybyddo pa fodd i'w hyfforddi hwynt mewn doethineb er eu daioni.

*Rheol 4ydd.*—Na fradycha ymddiriediad dy wragedd. Mae yna lawer o feddylddrychau mewn gwraig serchog ac ymddiriedgar, y dymuna hi eu mynegi i'w gwr, ac etto y byddai yn hynod o anewyllysgar iddynt gael eu hysbysu i ereill. Cadw gyfrinach pob un o'th wragedd oddiwrth y lleill, ac oddiwrth pob rhyw un arall, oddigerth mewn achosion y deillia daioni trwy wneuthur fel arall.

*Rheol 5med.*—Na siarad am feiau dy wragedd wrth ereill; oblegid wrth wneyd felly ti a siaradi i'th erbyn dy hun. Os siaradi wrth un o'th wragedd am anmherffeithrwydd y lleill a ddichon fod yn absennol, nid yn unig ti a'u drygi hwynt yn ei hystyriaeth hi, ond hi a ddysgwyl y siaradi yn ei herbyn hi o dan gyffelyb amgylchiadau: mae hyn a'i duedd i wanhau eu hymddiried ynot ti, a hau ymraniad mewn teulu. Mynega

wrth bob un am ei beiau o'r neilldu, mewn ysbryd mwynder a chariad, a bydd iddi yn fwyaf tebygol dy barchu am hyny, ac ymdrechu gwneyd yn well rhag llaw; ac fel hyn ni fydd i'r lleill, o herwydd dy gerydd, gymmeryd achlysur i siarad yn ddirmygus am dani hi. Dichon y bydd amgylchiadau, pan y gwna cerydd, a roddir yn mhresennoldeb y lleill, ddwyn dylanwad llesol ar y cwbl. Doethineb sydd fuddiol i gyfarwyddo, a dylid ei cheisio yn ddwys gan y rhai hyn a feddant gyfrifoldeb teuluaidd.

*Rheol 6fed.*—Gochel ddigofaint, a thuedd flin ac afrywiog yn dy deulu. Bydd i ysbryd byrbwyll, yn ddilynedig gan eiriau croesion, yn gyffredin genedlu ei ddelw ei hun, neu o leiaf, bydd iddo o'r diwedd, suro teimladau dy wragedd a'th blant, a mawr wanhau eu serchiadau tuag atat. Dylit gofio y gwna dywediadau croesion a arferer yn erbyn un o'th wragedd yn nghlyw y lleill, archolli ei theimladau yn ddyfnach nâ phe eu clywid ond gan ei hunan. Ceryddon ag ydynt amserol a da mewn dull arall, a allant golli eu heffaith ddaionus trwy gael eu gweinyddu mewn cam ysbryd; yn wir, hwy yn fwyaf tebygol a gynnyddant y drygau yr amcanwyd iddynt eu gwella. Na chanfydda fai yn mhob rhyw wall bychan a ddichon i ti ei weled; canys hyn a ddigalona dy deulu, a dechreuant feddwl ei fod yn anmhosibl dy foddhau di; ac, wedi ennyd, deuant yn ddiofal pa un a'th foddhant di ai peidio. Mor annedwydd a thra thruenus yw y teulu hwnw lle nad oes dim yn boddhau—lle daeth ffraeo braidd mor naturiol ag anadlu.

*Rheol 7fed.*—Arfer anmhleidgarwch yn dy deulu gan belled ag y caniatäo amgylchiadau; a bydded i'th fwynder a'th gariad fod yn ehelaeth tuag atynt oll. Arfer dy farn, megys pen y teulu, yn herwydd dy ddyledswydd mewn perthynas iddynt, ac na chymmer dy uwchreoli oddiwrth yr hyn sydd uniawn, gan dy deimladau dy hun, na chan deimladau rhai ereill.

*Rheol 8fed.*—Na oddef wyro dy farn yn erbyn neb o'th wragedd, trwy gyhuddiadau y lleill, heb genyt sail dda i gredu fod y cyhuddiadau hyny yn deg. Na phenderfyna yn ebrwydd ar dystiolaeth bleidgar, ond pwysa bob peth yn dda, fel na ddelo dy feddwl yn annheg ragfarnllyd. Pan achwyno un o'th wragedd yn herwydd anmherffeithrwydd y lleill, ac ymdrechu gosod dy feddwl yn eu herbyn, dysg iddi am fod gan bawb eu

hanmherffeithderau, ac am yr anghenrheidrwydd o gyd-ddwyn y naill â'r llall mewn amynedd, ac i weddio y naill dros y llall.

*Rheol 9fed.*—Galw dy wragedd a'th blant ynghyd yn fynych, ac hyfforddа hwynt yn eu dyledswyddau tuag at Dduw, tuag at dy hun, a thuag at eu gilydd. Gweddia gyda hwynt, a throstynt yn aml; a dysg iddynt weddio llawer, am fod i'r Ysbryd Glân breswylio yn eu canol, heb yr hwn annichonadwy ydyw cynnal yr undeb, y cariad, a'r unoliaeth hyny ag ydynt mor anghenrheidiol er dedwyddwch ac iachawdwriaeth.

*Rheol 10fed.*—Cofia, er y bydd rheolau ysgrifenedig o wasanaeth i ddysgu i ti dy ddyledswyddau, megys pen teulu, etto heb i'r Ysbryd Glân i'th addysgu a'th hyfforddi, mai anmhosibl ydyw i ti lywodraethu teulu mewn cyfiawnder; gan hyny, cais am yr Ysbryd Glân, ac Efe a ddysg i ti bob peth, ac a'th santeiddia di a'th deulu, ac a'ch gwna yn un, fel eich perffeithier ynddo Ef, ac Efe ynoch chwi, ac o'r diwedd eich dyrchafu i'r uchelder i breswylio gyda Duw, lle bydd eich llawenydd yn gyflawn am byth.

*Rheol 11eg.*—Na fydded i neb menyw uno ei hunan mewn priodas gydag unrhyw ddyn, oddigerth iddi gyflawn benderfynu i ddarostwng ei hunan yn hollol i'w gynghor, a gadael iddo ef lywodraethu fel y pen. Llawer gwell yw iddi beidio cael ei huno gydag ef yn rhwymau cyssegredig undeb tragywyddol, nâ gwrthryfela yn erbyn y drefn ddwyfol o lywodraeth deuluol, a sefydlwyd er uwch iachawdwriaeth; oblegid os bydd iddi droi yn hollol oddiwrth hyn, hi a dderbyn fwy barnedigaeth.

*Rheol 12fed.*—Na chais byth ddallbleidio meddwl dy wr yn erbyn neb o'i wragedd ereill, i'r dyben o ddyrchafu dy hun yn ei ystyriaeth, rhag i'r drwg a geisi ei ddwyn yn anghyfiawn arnynt hwy, gwympo gyda phwysau deublyg ar dy ben dy hun. Cais godi mewn cymmeradwyaeth a dylanwad gyda'th wr trwy dy deilyngdod dy hun, ac nid trwy chwyddo beiau rhai ereill.

*Rheol 13eg.*—Cais fod yn dangnefeddydd yn y teulu y cymdeithasi â hwynt. Os gweli yr ymddangosiad lleiaf o ymraniad yn codi, arfer eithaf dy ymdrechion i adferu undeb, ac i esmwythâu teimladau yr oll. Bydd i eiriau araf a thirion, a siaradir mewn pryd, leihau gwrthwynebiad ac amryson; tra y

bydd i ysbryd byrbwyll ac iaith afrywiog, ychwanegu tanwydd i'r tân a gynneuwyd eisoes, yr hwn a ymgynddeirioga gydag erchylldod cynnyddol.

*(I'w barhau.)* *Cyf.* ROBYN DDU.

## AMRYWIAETHAU, &c.

YR hwn sydd ddieisieu sydd yn ddigon cyfoethog; yr hwn sydd yn feistr arno ei hun, sydd yn ddigon ei awdurdod; yr hwn sydd yn byw i farw yn dda, sydd yn ddigon dedwydd. "Am bethau ereill," chai y Barnwr Hale, "nid wyf fi yn gofalu dim, na gormod am y rhai hyn ychwaith, oddieithr yr olaf, yn yr hyn nid oes gormodedd."

APWYNTIWYD yr Henuriad David Rees i lywyddu Cynnadledd Ogleddol Penfro. Hefyd, mae yr Henuriad Wm. Richards wedi ei ryddhau o lywyddiaeth Cynnadleddau Sir Feirionydd a Sir Fôn; ac y mae Cangenau Cynnadledd Sir Fôn wedi cael eu trosglwyddo i ofal yr Henuriad Richard Roberts, Dyffryn Conwy, am yr amser presennol.

MAE yn sicr na ddarfu i un dyn erioed ddywedyd nad oes un Duw, heb ei fod yn gyntaf wedi dymuno hyny.

### BEDD-ARGRAFF BABAN.

'Nol trigo ennyd fach mewn cnawd,
Ei ysbryd hedodd 'nol at Dduw;
Ond trwy ddaioni 'i henaf Frawd,
Caiff etto'i gorff i fythol fyw. (1849.)

TALIADAU O RAG. 9 HYD RHAG. 15.—Sir Fflint, £1 2s; Georgetown, 5s 2c; Pontytypridd, 9s 6c; Aberamman, 5s; Hirwaen, 6s 5c; Ffynnon Tydfil, 5s 11c; Aberdâr, 5s.—Cyfanswm, £2 19s.

☞ Bydd i'r "Briodas Nefolaidd" derfynu yn y rhifyn olaf o'r gyfrol hon.

☞ Cofied y Llywyddion yn brydlawn am y Cynnrychioliad hanner-blynyddol.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 26.] RHAGFYR 24, 1853. [CYF. VI.


## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 404.]

*Rheol* 14*eg*.—Na ddywed yn ddrwg am dy wr wrth neb o'r lleill yn y teulu, i'r dyben o ddallbleidio eu meddyliau yn ei erbyn; oblegid os hysbysir ef o hyny, niweidir di yn ei ystyriaeth. Na siarad ddrwg chwaith am neb o aelodau y teulu; o herwydd y dinystria hyny eu hymddiried ynot. Gochel bob rhagrith; canys os cymmeri arnat i garu dy wr, ac i anrhydeddu a pharchu ei wragedd, pan yn bresennol, eithr siarad yn anmharchus am danynt pan yn absennol, edrychir arnat fel rhagrithydd, fel baldorddydd, ac fel dynes yn gwneuthur drygau, ac ysgoir di fel yn fwy peryglus nâ gelyn agored. A pheth sydd etto yn fwy gwrthunus yw baldorddu allan o'r teulu, a cheisio creu gelynion yn erbyn y rhai hyny yr wyt ti yn gyssylltiedig â hwynt. Dylid ystyried y fath bersonau, nid yn unig yn rhagrithwyr, ond yn fradychwyr, a dylid sarhau eu hymddygiadau gan bob carwr cyfiawnder. Cofia hefyd fod mwy o ffyrdd nag un i faldorddu; nid bob amser y dygwydd, am y personau hyny ag ydynt hyfaf yn eu cyhuddiadau, eu bod y goganwyr mwyaf enbydus; ond y fath a gymmerant arnynt yn rhagrithiol, nad ydynt yn ewyllysio niweidio eu cyfeillion, ac ar yr un amser, a awgrymant yn dduwiolaidd, mewn dywediadau tywyll ac anghyfeiriol, rywbeth â'i duedd i adael rhagfarn hynod o anffafriol yn eu herbyn. Gochel y fath ysbryd fel y gwnelit wirioneddol byrth uffern.

*Rheol* 15*fed.*—Os gweli neb o wragedd dy wr yn glaf, neu mewn trallod, arfer bob ymdrech i'w diwallu hwynt, ac i weinyddu mwynder a dyddanwch, gan gofio y byddai i ti dy hunan, dan y cyffelyb amgylchiadau, fod yn ddiolchgar am eu cynnorthwyon. Ymdrechwch i gymmeryd rhan o feichiau y naill y llall, yn unol â'r iechyd, y gallu, a'r nerth a roddodd Duw i chwi. Nac ofnwch y gwnewch fwy nâ'ch rhan o'r llafur teuluol, neu y byddwch yn garedicach wrthynt hwy nâ hwynt i chwi.

*Rheol* 16*eg.*—Bydded i bob mam geryddu ei phlant ei hun, a gweled na thaeront, ac na ffraeont gyda'r naill y llall, na chyda neb ereill: na fydded iddi geryddu plant y lleill heb ganiatâd i wneyd felly, rhag i hyny roddi tramgwydd. Dylai y gwr edrych ar fod pob mam yn cynnal dyscyblaeth ddoeth a gweddus dros ei phlant, yn neillduol yn eu blynyddoedd ieuengaf: a'i ddyledswydd ef yw edrych fod yr oll o'i blant yn ufydd iddo ei hun, ac i'w mamau priodol. A'i ddyledswydd ef hefyd ydyw edrych na chaniataer i blant y naill wraig, ffraeo, a maeddu eiddo y lleill, na chwaith i fod yn anmharchus, neu eofn at un gangen o'i deulu.

*Rheol* 17*eg.*—Dyledswydd rhieni ydyw hyfforddi eu plant, yn unol â'u galluoedd, yn mhob egwyddor o'r Efengyl, fel eu dadguddiwyd yn Llyfr Mormon, ac yn y dadguddiadau a roddodd Duw, fel y tyfont i fyny mewn cyfiawnder, ac yn ofn yr Arglwydd, a chanddynt ffydd ynddo Ef. Na oddefwch i ddrygioni gymmeryd lle yn eu mysg hwynt, ond dysgwch iddynt y ffordd iawn, ac edrychwch ar iddynt rodio ynddi. A bydded i'r gwr a'i wragedd, a'r oll o'i blant, ag a ddaethant i flynyddoedd dealltwriaeth, ymostwng yn fynych o flaen yr Arglwydd, oddi amgylch yr allor deuluaidd, a gweddio yn llafar ac unol am bob rhyw fendithion y safont mewn anghen o honynt, gan gofio lle byddo undeb a heddwch, y bydd yno hefyd ffydd, a gobaith, a chariad Duw, a phob gweithred dda, a lliosogrwydd o fendithion, yn cyfranu iechyd a chysur i'r corff, a llawenydd a bywyd i'r enaid.

*Rheol* 18*fed.*—Bydded i bob mam ddechreu gyda ei phlant tra fyddont ieuainc, nid yn unig i'w dysgu a'u hyfforddi, ond i'w ceryddu a'u dwyn i fyny i'r ymddarostyngiad perffeithiaf; oblegid y pryd hyny yw yr amser y gellir eu gorchfygu

rwyddaf, a thra y mae eu meddyliau yn dyner y maent debycaf o dderbyn dylanwadau a llywodraeth. Mae llawer o famau, o herwydd diofalwch, yn esgeuluso eu plant, ac heb ond cynnyg ar eu llywodraethu ar brydiau meithion; pan yn fwyaf cyffredin y canfyddant nad yw eu hymdrechion o un lles parhaus; canys wedi i blant ymarfer â chael eu ffordd eu hunain, nid yn hawdd y gildiant; ac os o ddamwain yr ymostyngant, nid yw hyny ond am yr amser gwyddfodol, oblegid pan yr ymlacäo y fam drachefn i ddiofalwch, dychwelant hwythau drachefn at eu hagwedd arferol: ac fel hyn, trwy arferiad, deuant o hyd yn gadarnach mewn anufydd-dod, gan fyned yn waeth-waeth, hyd nes delo y fam yn ddigalon, gan adael heibio bob dyscyblaeth, a chwyno nas gall hi wneyd i'w phlant gymmeryd gofal. Nid yw y bai gymmaint yn y plant, ag a yw yn niofalwch ac esgeulusdod y fam tra y plant yn ieuainc; a hi a raid ateb, i radd fawr, dros arferion drwg ac anufydd-dod y plant. Mae hi yn gyfrifol mewn dull mwy uniongyrchol nâ'r tad; oblegid nis gellir dysgwyl, ar wahan oddiwrth y dyledswyddau llafurus a ofynir ganddo, y medr y tad gael amser o hyd i ddiwygio, a threfnu ei blant bychain ag sydd yn nhref gyda eu mamau. Mynych y dygwydd i'r tad gael ei alw at ddyledswyddau bywyd cyhoeddus, a dichon iddo fod oddicartref lawer o'i amser, pan y bydd i'r holl ddyledswydd o lywodraeth deuluol, orphwys o anghenrheidrwydd ar famau perthynol ei blant; ac os bydd iddynt hwy, trwy ddiofalwch, oddef i'w plant dyfu i fyny mewn anufydd-dod, a dystrywio eu hunain, rhaid iddynt a fydd dwyn y cywilydd a'r gwarth o herwydd. Rhai mamau, er heb fod yn ddiofal, ac er y teimlant y pryder mwyaf am gysur eu plant, etto, trwy dyb gamgymmeriadol o gariad atynt, a beidiant eu cospi pan mewn anghen cosp, neu os cymmerant i'w gorchfygu, mae eu tynerwch a'u tosturi mor fawr, fel y tyciant dros y farn, a gadewir y plant heb eu gorchfygu, a deuant yn fwy penderfynol i wrthsefyll pob egni dyfodol o eiddo eu mamau, hyd nes, o'r diwedd, y penderfynant fod gan eu plant hwy dueddfryd ystyfnicach nag ereill, ac ei fod yn anmhosibl eu darostwng i ufydd-dod. Yn yr achos hwn, fel yn yr un o esgeulusdod, y gwall sydd eiddo y fam. Ystyfnigrwydd y plant gan fynychaf, sydd effaith maldodaeth y fam, yn tarddu oddiar ei meddylddrych camgymmeriadol o gariad.

Trwy y peth hwnw a eilw hi yn gariad, y mae yn dystrywio ei phlant.

Plant rhwng un a dwy flwydd eu hoedran ydynt allnog i'w gwneyd i ddeall llawer o bethau; dyna'r amser i ddechreu gyda hwynt. Mor aml y canfyddwn blant o'r oedran hwnw yn arddangos llawer o ddigofaint. Mynych, gan lefain trwy ddigofaint, y gwna rhai ag ydynt fel arall yn iach, niweidio eu hunain; llawer gwell, yn y fath amgylchiadau, ydyw i fam geryddu ei phlentyn mewn dull tyner, er gyda phenderfyniad a diysgogrwydd, hyd nes ei orchfygu, a pheru iddo beidio â llefain, nag a fyddai iddi oddef i'r arferiad hyny gynnyddu. Pan y byddo y plentyn, trwy gospedigaeth dyner, wedi dysgu yr un wers hon oddiwrth ei fam, bydd yn llawer haws ei orchfygu a'i ddwyn i ymostwng mewn pethau ereill, hyd nes yn y diwedd, trwy ychydig ddyfal barhad ar ran y fam, y dysg fod yn ufydd i'w llais yn mhob peth; a daw ufydd-dod ymgadarnhaol i fod yn arferiad parhaus. Dichon i'r fath blentyn, trwy gael ei ddwyn i fyny gan fam esgeulus neu faldodaidd, ddyfod yn ymgadarnhaol mewn arferion o ystyfnigrwydd ac anufydd-dod. Nid gan gymmaint yn nghyfansoddiad gwreiddiol plant, ag yn eu dygiad i fyny, yr achosir y fath wahaniaeth dirfawr yn eu tueddiadau. Nis gellir gwadu fod gwahaniaeth yn nghyfansoddiad plant, hyd y nod o'u genedigaeth; ond y gwahaniaeth hwn, gan mwyaf, sydd ddyledus i ymddygiad gweddus neu anweddus y rhieni, fel y mynegwyd o'r blaen; gan hyny, am y gwahaniaeth hwn, y rhieni ydynt fwy neu lai cyfrifol. Os bydd i rieni, trwy eu hymddygiad drwg eu hunain, rwymo tueddiadau etifeddol wrth eu plant, ag a ydynt ogwyddol i'w dystrywio, oddigerth eu gweddus gwttogi a'u gorchfygu, dylent gael gwireddu y rhaid iddynt roddi cyfrif am y drwg hwnw. Os bu rhieni yn euog o rwymo wrth eu plant dueddiadau annedwydd, bydded iddynt edifarhau, gan arfer pob dyfalwch i'w hachub hwynt oddiwrth y canlyniadau drwg a ddeilliant yn naturiol trwy roddi lle i'r cyfryw dueddiadau. Po fwyaf y dyryswch, mwyaf a raid fod y gwellhad, a mwyaf medrus a thrwyadl y dylai fod ei gymhwysiad, hyd nes i'r hyn a hauwyd mewn drwg gael ei orchfygu a'i hollol ddarostwng. Yn y ffordd hyn dichon i rieni wared eu hunain a'u plant: ond fel arall y mae condemniad. Gan hyny, adroddwn etto,

bydded i famau ddechreu dyscyblu eu plant pan y byddont yn ieuainc.

*Rheol 19eg.*—Na cheryddwch eich plant mewn digofaint; nid yw rhiaint digofus mor gymhwys i farnu maint y gospedigaeth a ddylid ei gweinyddu ar blentyn, â'r un sydd oerach ac wedi ei arferyd gydag ystyriaeth, rheswm, a barn. Gadawer i'ch plant weled y cospwch hwynt, nid i foddio nwyd ddigofus, ond i'w diwygio hwynt er eu daioni, a chaiff ddylanwad iachusol; nis edrychant arnoch chwi megys gorthrymydd, yn cael eich uwch-reoli yma a thraw gan nwydau terfysglyd a ffyrnig; eithr ystyriant chwi fel un sydd yn ceisio eu cysur hwynt, ac nad ydych ond yn eu ceryddu hwynt o herwydd eich bod yn eu caru, ac yn ewyllysio iddynt wneyd yn dda. Byddwch bwyllog a thawel yn eich cynghorion a'ch ceryddon, ond ar yr un amser, arferwch ddifrifoldeb a phenderfyniad. Gadawer i'ch plant wybod y rhaid i'ch geiriau gael eu parchu a'u hufyddhau.

*Rheol 20fed.*—Na thwyllwch byth eich plant trwy fygythiadau nac addewidion. Byddwch ofalus i beidio eu bygwth gyda chospedigaeth nad oes genych un bwriad i'w gweinyddu: am yr achosa hyn iddynt golli ymddiried yn eich gair; heblaw y bydd i hyny beri iddynt lynu wrth yr arferiad o ddywedyd anwiredd: pan y canfyddant nad yw eu rhieni yn cyflawni eu bygythion neu addewidion, meddyliant nad oes yna un niwed mewn iddynt fforffetu eu gair. Na feddyliwch y caiff eich eirchion, mewn perthynas i eirwiredd, lawer o bwysau ar feddyliau eich plant, tra eu gwrthwynebir gan eich siamplau. Byddwch ofalus i gyflawni eich gair yn mhob peth mewn cyfiawnder, a bydd i'ch plant, nid yn unig ddysgu geirwiredd oddiwrth eich siamplau, ond bydd iddynt ofni anufyddhau i'ch gair, gan wybod nad ydych byth yn ffaelu cospi neu wobrwyo, yn gyfunol â'ch bygythion a'ch addewidion. Bydded i'ch cyfreithiau, penydiau, a'ch gwobrwyon, fod yn sylfaenedig ar egwyddorion barn a thrugaredd, ac yn gy hwysiadol i alluoedd eich plant; canys yn y ffordd hon y llywodraetha ein Tad nefol ei blant, gan roddi i rai gyfraith nefolaidd, i ereill un ddaearol, ac i ereill etto un dan-ddaearol, gyda phenydiau ac addewidion cyssylltiedig, yn gyfunol â sefyllfaoedd, amgylchiadau, a galluoedd y personau sydd i gael eu llywod-

raethu. Ceisiwch ddoethineb, a phortrëadwch yn ol yr urdd nefol o lywodraeth.

*Rheol 21ain.*—Na fyddwch mor sarug ac ystyfnig yn eich llywodraeth deuluol, fel ag i wneyd eich hunan yn wrthrych ofn ac arswyd. Y mae rhieni na wnant ond eu hunain yn amlwg yn mhriodoledd cyfiawnder, tra mai prin yr adwaenir trugaredd a chariad yn eu teuluoedd. Dylid tyneru cyfiawnder gyda thrugaredd, a chariad a ddylai fod yr egwyddor fawr ysgogol, yn cymmysg wau ei hunan yn eich holl weinyddiadau teuluaidd. Tra yr eistedd cyfiawnder wrtho ei hun ar yr orsedd, mae eich plant yn agosâu atoch gydag arswyd, neu efallai yn cuddio eu hunain oddiwrth eich presennoldeb, ac yn hiraethu am eich absennoldeb, fel y rhyddhaer hwynt oddiwrth eu hofn; wrth sŵn eich camrau agoshaol hwy a ffoant fel oddiwrth elyn, a chrynant wrth eich llais, ac ymgrynhoant rhag ardremiad eich gwynebpryd, yr un fath â phe yr ofnent i ryw gospedigaeth ofnadwy gael ei gweinyddu arnynt. Byddwch deuluol gyda eich plant, fel y dyddanont eu hunain yn eich cymdeithas, ac edrych arnoch chwi fel rhiant mwyn a thyner, ag sydd yn hyfryd ganddynt ufyddhau iddo. Ufydd-dod cynhyrfiedig gan gariad, ac ufydd-dod cynhyrfiedig gan ofn, ydynt hollol wahanol yn eu natur—y blaenaf a fydd arosol a parhaus, tra nad yw yr olaf ond aros i wrthddrych yr ofn gael ei symud, a bydd iddo ddiflanu fel breuddwyd. Llywodraethwch blant fel rhieni, ac nid fel gorthrymwyr; oblegid byddant hwythau rieni yn eu tro, a byddant dra thebygol o fabwysiadu y ffurf hono o lywodraeth yn yr hon y cawsant eu haddysgu. Os buoch chwi orthrymwyr, dichon y dylanwadir arnynt hwythau i efelychu yn ol eich siampl. Os ydych ffrom ac yn barhaus ymgecru, byddant hwythau dra thebyg o fod yn gecrwyr hefyd. Os ydych chwi yn hawddgar, mwyn, a thrugarog, bydd i'r dylanwadau hynaws hyn fod yn dra sicr o drwytho eu hunain i'w trefn o lywodraeth deuluaidd; ac fel hyn, dylanwadau drwg a da, yn fynych, a estynant eu hunain i lawr am lawer o genedlaethau ac oesoedd. Mor fawr, gan hyny, ydyw rhwymedigaethau rhieni i'w plant! Ac mor ofnadwy yw canlyniadau siamplau drwg! Gadawer i gariad, gan hyny, eich goruwchlywodraethu a'ch rheoli chwi, a bydd eich plant yn sicr o'i ddarganfod, a hwy a'ch carant chwi yn ol.

*Rheol 22ain.*—Bydded i bob mam ddysgu ei phlant i anrhydeddu a charu eu tad, ac i barchu ei gyfarwyddiadau a'i gynghorion. Mor fynych y mae pan gymmero tadau i gywirio eu plant, yr ymyraeth mamau yn mhresennoldeb y plant; mae gan hyn ogwyddiadau tra drwg mewn llawer golygiad: yn gyntaf, y mae yn dinystrio yr unoliaeth teimlad, a ddylai fodoli rhwng gwr a gwraig; yn ail, y mae yn gwanhau ymddiried y plant yn y tad, ac yn eu hyfhau i anufydd-dod; yn drydydd, y mae yn creu cynhen ac amryson; ac yn olaf, y mae yn gwrthryfela yn erbyn y drefn o lywodraeth deuluaidd, a sefydlwyd gan ddoethineb ddwyfol. Os tybia y fam fod y tad yn rhy lym, na fydded iddi grybwyll hyny yn nghlyw y plant, ond hi a all adrodd ei theimladau wrtho ef tra eu hunain, ac fel hyn ni wel y plant unrhyw ymraniad rhyngddynt hwy. Canys i wr a gwragedd anghytuno, ac amryson a ffraeo, sydd ddrwg mawr; ac i wneuthur y pethau hyn yn mhresennoldeb eu plant, sydd etto fwy drwg. Gan hyny, os bydd i wr a'i wragedd ffraeo, a dinystrio eu dedwyddwch eu hunain, bydded iddynt gael tosturi tuag at eu plant, a pheidio eu dinystrio hwynt gyda eu siamplau niweidiol.

*Rheol 23ain.*—Na oddefwch i blant gwahanol famau i fod yn dordyn ac yn enllibaidd at eu gilydd: oblegid y maent yn frodyr a chwiorydd i'w gilydd, yr un fath â phlant y patriarch Jacob; ac nid oes gan un hawl uwchlaw arall, ond yn unig fel ei teilyngir gan ei ymddygiad. Os dygwydd y canfyddwch gynhenau a gwahaniaethau yn codi, na fydded i chwi gyfiawnhau eich plant eich hun, a chondemnio y lleill yn eu presennoldeb; am y bydd i hyn eu hannog yn eu cwerylon: hyd y nod pe yr ystyriech nad yw eich plant chwi gymmaint yn y bai â'r lleill, llawer gwell yw eu dysgu hwynt am ddrygau amryson, nag i siarad yn erbyn y lleill. Bydd i siarad yn eu herbyn hwy, nid yn unig ddyeithrio eu serchiadau hwynt ond y mae ganddo ogwyddiad at ddigio eu mamau, a chreu teimladau anhyfryd rhyngoch chwi â hwynt. Siaradwch bob amser yn dda am wragedd ereill eich gwr yn mhresennoldeb eich plant; am y ffurfia plant yn gyffredin eu barn o berthynas i ereill, yn ol dywediadau eu rhieni; y maent yn dra thebygol o barchu y cyfryw a berchir gan eu rhieni; a chasâu y rhai hyny a gaseir ganddynt. Os ystyriwch fod rhai o'r mamau yn

rhy dyner gyda eu plant, ac yn rhy esgeulus o'u cywirio, na fyddwch ddigllawn, eithr ymdrechwch, trwy driniaeth ddoeth a chall o'r eiddoch eich hun, i osod esiampl deilwng o'u blaen hwynt, fel y dichon iddynt hwy, trwy weled eich ffordd gall a doeth chwi, gael eu harwain i fyned a gwneuthur yn yr un modd. Bydd i siamplau weithiau ddiwygio, pan ballo eirchion.

*Rheal 24ain.*—Byddwch ddiwyd yn eich arferion: mae hyn o bwysigrwydd fel yn cyflawni cyfraith Duw: y mae hefyd o bwys i'r rhai hyny sydd mewn amgylchiadau isel, fel y gallont gael bwyd, a dillad, a chysuron anghenrheidiol bywyd: y mae hefyd o bwys i'r cyfoethog yn gystadl â'r tlawd, fel y byddo ddichonadwy iddynt yn helaethach ddiwallu eisieu yr anghenog; a bod mewn amgylchiadau i gynnorthwyo yr anffortunus, a gweinyddu i'r claf a'r adfydus: oblegid yn y ffordd hon, y mae yn bosibl hyd y nod i'r cyfoethog fyned i mewn i deyrnas nefoedd. Ni fydd i deulu sydd â'i amser yn feddiannol gan alwadau buddiol a chyfreithlawn bywyd, ganfod amser i fyned o dŷ i dŷ, gan faldorddu a niweidio eu gilydd a'u cymmydogion; ac ni fyddant chwaith mor chwannog i ffraeo yn eu plith eu hunain.

*Rheol 25ain.*—Pan fyddo eich plant o dair i bump mlwydd oedran, anfonwch hwy i ysgol, a chedwch hwy yno flwyddyn ar ol blwyddyn, hyd nes y derbyniont ddysgeidiaeth drwyadl, yn holl egwyddorion gwyddoriaeth fuddiol, ac yn eu hagweddau, a'u moesau. Yn y dull hwn hwy a ochelant lawer o ddrygau, a godant oddiar syrthni, a ffurfiant arferiadau a'u gwnant yn fuddiol i gymdeithas mewn bywyd dyfodol. Bydded i famau addysgu eu merched mewn pob math o lafur teuluaidd, eu dysgu i olchi ac haiarnu, i bobi, a gwneyd pob math o goginiaeth, i wau a gwnïo, i nyddu a gwehyddio, ac i wneyd pob math arall o bethau a'u cymhwysa hwynt yn hyswïod da ac effeithiol. Bydded i dadau addysgu eu meibion, yr unrhyw gangen neu gangenau o fasgnach y bwriadant iddynt bob un ei dilyn. Diystyrwch y gau dynerwch hwnw a arddangosir gan feibion a merched y cyfoethog, y rhai a'i hystyriant yn ddianrhydedd i lafurio wrth alwedigaethau cyffredin bywyd. Dylai y fath dybiau o fywyd uchel gael eu gwgu allan o'r diriogaeth, megys yn rhy ddirmygus i'w llochesu, am un amrantiad, gan werin wareiddiedig. Mae gan rai boneddigion a'r

boneddigesau siglenllyd hyn y fath feddylddrych mawreddog, mewn perthynas i foneddigeiddrwydd, fel y gadawent i'w tlodaidd hen dad a mam gaethweithio eu hunain i farwolaeth, i'w cynnal hwynt yn eu diogi, neu wrth ryw orchwyl coeg-dybiog ac anfuddiol. Eistedda y ferch i lawr yn yr ystafell wrth ei phaent-waith neu fiwsig, wedi ei harwisgo mewn sidan a gwychder, a gadael i'r fam olchi a choginio, hyd nes, trwy flinder, y mae yn barod i gwympo i'w bedd; galwant hyn yn foneddigeiddrwydd, a'r gwahaniaeth sydd rhwng yr isel a'r uchel. Eithr nid yw y fath ferched yn deilwng o wyr, ac ni ddylid eu caniatâu i unrhyw gymdeithas barchus: y maent yn ddiog rai dirmygus, a fyddai yn felldith i unrhyw wr, a ddichon fod mor aflwyddiannus â bod yn gyssylltiedig â'r fath bethau niweidiol. Dylid coleddu a gwrteithio paentio, miwsig, a'r holl gelfyddydau gwychion, megys cyflawniadau a wasanaethant i addurno a harddu pobl oleuedig a gwareiddiol, ac a wnant fywyd yn gytunol a dedwydd; ond pan wrteithir y pethau hyn, er cauad allan y dyledswyddau a'r cymhwysderau mwy anghenrheidiol, y mae fel addurno moch gyda gemau a pherlau gwerthfawr, i wneuthur iddynt ymddangos yn barchusach: ni wna yr addurniadau hyn, ond gwneuthur y fath gymmeriadau yn ganwaith hyllach a gwrthunach nag yr ymddangosent fel arall.

*Rheol 26ain.*—Arferwch gynnildeb, a gochelwch wastraff. Mor ddiannogol i wr, a chanddo deulu mawr, yn ymddibynu yn benaf ar ei lafur ef am gynnaliaeth, a fyddai gweled ei wraig-edd a'i blant yn ddiofal, yn ddifeddwl, ac yn ddianghenrhaid, yn gwastraffu ei ennill caled. Na fydded i un wraig, o ofn na chaiff hi ei chyfran o'r cyllid, ddinystrio, rhoddi ymaith, neu fel arall ddosparthu o'r hyn a roddir iddi, gan feddwl y cynnysgaetha ei gwr hi ag ychwaneg. Dylai y rhai a gynnilant, ac a ddoeth ddefnyddiant yr hyn a roddir iddynt, gael eu cyfrif yn deilwng i dderbyn yn chelaethach, nâ'r rhai hyny a ddilynant ffordd wrthwynebol. Dylai pob gwraig deimlo yn ddyddorol mewn arbed a chadw yr hyn a ymddiriedodd yr Arglwydd iddi, a dylai lawenychu, nid yn unig yn ei llwyddiant, ond yn llwyddiant yr oll o'r lleill: ni ddylai ei llygaid fod yn llawn trachwant, i grafangu pob peth ei hunan, ond dylai deimlo yn gyfartal ddyddorol yn nghysur yr holl

deulu. Trwy ddilyn yr yrfa hon caiff ei charu; trwy gymmeryd gyrfa wrthwynebol, ystyrir hi yn hunanol, ac ni feddylir o honi ond ychydig.

*Rheol 27ain.*—Bydded i wyr, gwragedd, meibion, a merched, wirioneddu yn barhaus, nad yw eu perthynas yn terfynu gyda'r bywyd byr hwn, ond y parha mewn tragwyddoldeb diddiwedd. Gan hyny, dylai pob cymhwysder a thueddfryd, a'u gwnelo hwy yn ddedwydd yma, gael ei feithrin, ei goleddu, ei fwyhau, a'i berffeithio, fel y byddo eu hundeb yn annattodadwy, a'u dedwyddwch wedi ei sicrhau am y byd hwn, ac am yr un hwnw sydd i ddyfod.

Sylwer ar y rheolau hyn, ac ar y lleill oll ag ydynt ddaionus a chyfiawn, a heddwch a fydd y canlyniad; gwyr a fyddant batriarchiaid a gwaredwyr; gwragedd a fyddant fel gwinwydd ffrwythlawn, yn dwyn allan ffrwythau gwerthfawr yn eu tymmorau; eu meibion a fyddant fel planigion o enwogrwydd, a'u merched fel meini caboledig palas. Yna y Saint a gânt flodeuo ar y bryniau, a llawenychu ar y mynyddoedd, a dyfod yn bobl fawr a chryfion, yn rhai y caiff eu mynediad allan fod gyda nerth sydd dragywyddol. Cyfod, O Seion! gwisg dy hun â goleuni! ymddysclaeria allan gydag amlygrwydd a thryloywder! goleua y cenedloedd a chornelau tywyll y ddaear, canys aeth eu goleuni allan—eu haul a fachludodd—tywyllwch a'u hymdôdd hwynt! gadawer gweled dy oleuni ar uchel leoedd y ddaear; gâd iddo lywyrchu mewn dysclaerdeb gogoneddus; canys yna gwel y rhai drygionus, a chywilyddiant, a dodant eu dwylaw ar eu safnau mewn gwarth; yna y cyfyd breninoedd, a deuant allan i'r goleuni, a gorfoleddant yn mawredd dy ogoniant. Nac ofna, O Seion, ac na laesed dy ddwylaw, canys mawr ydyw yr Un santaidd yn dy ganol di! Cwmwl a'th amdöa di y dydd er dy amddiffyn, a'r nos amgylchir dy breswylfeydd gyda gogoniant! Duw yw dy oleuni tragywyddol, a chaiff fod yn Dŵr dy gadernid yn erbyn dy elynion; wrth sŵn ei lef y toddant ymaith, a dychryn a ymeifl arnynt hwy. Yn y dydd hwnw y byddi brydferth a gogoneddus, ac ni chaiff gwarth y cenedloedd ddyfod mwy i'th glustiau; yn y dydd hwnw, y caiff meibion y rhai hyny a'th gystuddiasant ddyfod a phlygu i ti, a chrymu eu hunain i lawr wrth wadnau dy draed; a merched y rhai hyny a'th warthruddasant di, a

gânt ddyfod, gan ddywedyd, Ein bara ein hunain a fwytawn, a'n dillad ein hunain a wisgwn, ond yn unig gadawer ein cysylltu, yn nhrefn y briodas batriarchaidd, gyda'r gwyr a'r patriarchiaid yn Seion, i gymmeryd ymaith ein gwarth; yna yr uchel barchant, yn mhell uwchlaw cyfoeth, y pethau hyny a ddiystyrwyd gan eu tadau drygionus, o dan yr enw Amlwreigiaeth.

Terfynwn y dernyn hirfaith hwn ar y testun Priodas Nefolaidd, trwy gynnyg y gofyniadau canlynol i ystyriaethau y cyfryw o'n darllenwyr, ag a ddichon fod yn wrthwynebus i'r gyfundraeth o liosogrwydd.

1. Os yw lliosogrwydd yn dramgwyddus yn ngolwg Duw, paham y bu i Abraham, yr hwn a'i harferodd, gael ei alw yn gyfaill Duw, ac yn dad y ffyddloniaid? Paham yr addawodd yr Arglwydd mai ynddo ef, yn gystadl ag yn ei had, y caffai holl deuluoedd y ddaear eu galw yn fendigedig? Paham gofyn i holl deuluoedd y ddaear, o dan yr oruchwyliaeth Gristionogol, i gael eu mabwysiadu i deulu Amlwreigiwr, mewn trefn i gael eu hachub? Paham dewis Amlwreigiwr i fod yn dad i'r holl deuluoedd cadwedig? Paham gofyn holl deuluoedd Cristionogol, mewn trefn i gael eu hachub, i rodio yn nghamrau ac i wneuthur gweithredoedd Abraham? Paham y cyhoeddodd Duw ei hunan yn "Dduw Abraham, yn Dduw Isaac, ac yn Dduw Jacob," a dywedyd mai hyn a fydd "FY ENW A'M COFFADWRIAETH O GENEDLAETH I GENEDLAETH?" (Gwel Ex. iii, 15). Os nad yw Amlwreigiaeth i'w gymmeradwyo, yn mhlith cenedlaethau y byd Cristionogol, paham yr ymgyfenwodd ei hunan i fod yn Dduw Amlwreigwyr, a dywedyd y byddai i bob cenedlaeth fabwysiadu y coffadwriaeth hyny am dano Ef? Paham dewis yr Amlwreigwyr hyn i fod yn siamplau i Gristionogion, a dywedyd y deuai llawer o'r dwyrain a'r gorllewin, o'r gogledd ac o'r deau, ac eistedd i lawr gyda hwynt yn nheyrnas Dduw? A fydd gwragedd a gordderchwragedd Abraham, a phedair gwragedd Jacob, yn nheyrnas Dduw gyda eu gwyr? Os felly, ai ni lygrir moesau Cristionogion yn fawr, trwy eistedd i lawr yn yr un deyrnas gyda hwynt? Ai ni fydd i Gristionogion gywilyddio yn fawr, o'u canfod yn eistedd yn nghymdeithas Amlwreigwyr? Ai ni fydd i Gristionogion lwyr ddystrywio eu cymmeriadau, trwy gael eu mabwysiadu i

deulu Amlwreigiwr mor nodedig ag Abraham, a bod yn rhwymedig i'w gydnabod ef fel tad, a'i galw yn blant iddo? "A'r ysgrythyr yn rhagweled mai trwy ffydd y mae Duw yn cyfiawnhau y cenedloedd, a *rag-efengylodd i Abraham*, gan ddywedyd, Ynot ti y bendithir yr holl genedloedd" (Gal. iii, 8). Pa fath Efengyl a bregethwyd i Abraham? Ai nid ydoedd yr unrhyw Efengyl ag a bregethwyd wedi Crist, trwy yr hon yr oedd i'r cenedloedd gael eu cyfiawnhau, a thrwy yr hon y gallai holl deuluoedd y ddaear gael eu bendithio, gan ddyfod yn blant Abraham trwy fabwysiad. Ai nid oedd yr un Efengyl yn ofynol i achub y tad Amlwreigiol yn nheyrnas Dduw, â'r un hono sydd yn achub ei blant mabwysiadol sydd yn eistedd i lawr gydag ef yn yr un deyrnas? A yw yr Efengyl wedi Crist, yn dyrchafu Cristionogion i ogoneddusach teyrnas nâ'r un lle preswylia Abraham? Os nad yw, a ydyw hi ronyn gwell nâ'r Efengyl a bregethwyd i Abraham? Ai ni welodd Abraham ddydd Grist, a gorfoleddu ynddo, ac edrych yn mlaen at ei aberth iawnol, yr un fath ag yr edrychodd Cristionogion, wedi hyny, yn ol yr unrhyw iawn? Os gofynodd yr Efengyl a bregethwyd i Abraham yr un ffydd—yr un edifeirwch—yr un cyfiawnhad—yr un santeiddhad trwy yr Ysbryd Glân—os cafodd iddo ef yr un bendithion—yr un doniau o brophwydoliaeth a dadguddiadau—yr un doniau o weled gweledigaethau, ac o ymddyddan ag angylion—yr un galluoedd gwyrthiol ac addewidion nefol—os gwnaeth hi ef yn deilwng o'r teitl Cyfaill Duw, a'i ddyrchafu ef i fod yn dad y ffyddloniaid, hyd y nod tad yr holl genedloedd cadwedigol,—os, heblaw hyny, yr achubodd hi ef yn nheyrnas Dduw—yn yr un deyrnas lle mae ei blant Cristionogol i eistedd i lawr gydag ef—yna, ai nid oedd hi Efengyl Cristionogaeth—yr un Efengyl yn hollol ag a bregethwyd wedi Crist? Ac os yr un Efengyl, yna pwy a feiddia wadu yr arferid Amlwreigiaeth gan y dynion goreu o gwbl, o dan oruchwyliaeth Gristionogol ac Efengylaidd? Pwy a faidd ddywedyd, nad oedd cyfiawnder Abraham mor fawr â chyfiawnder ei blant?

2. Ai ni fu i'r Arglwydd fawr fendithio a llwyddo Jacob, cyn a chwedi ei ddyfod yn Amlwreigiwr? Ai ni pharhaodd Efe i roddi iddo lawer o ddadguddiadau a gweledigaethau, ac anfon lluoedd o angylion i ymddyddan ag ef? Os oedd Aml-

wreigiaeth yn drosedd, ai ni fuasai Duw yn ei hysbysu o'r ffaith? Pe buasai bechadurus, a fuasai Efe yn ei achub yn ei deyrnas heb edifeirwch? Gan na edifarhaodd Jacob, eithr parhau yn Amlwreigiwr hyd ei farwolaeth, a chan yr achubwyd ef, rhaid yr achubwyd ef yn ei bechodau; canys nid yw Duw yn maddeu pechodau heb edifeirwch; neu ynte, nid yw Amlwreigiaeth yn bechod. Paham y lluddiodd yr Arglwydd i Sarah, gwraig Abraham, blanta? (Gen. xvi, 2.) Ai nid oedd o herwydd yr esgeulusodd hi dros hir amser, roddi gwraig arall i Abraham, fel y delai efe yn dad llawer o genedloedd? Gwedi y rhoddodd hi Hagar i'w gwr, yna ymddarostyngodd yr Arglwydd i roddi iddi fab. Os oedd amlwreigiaeth yn droseddol a phechadurus, pa fodd y bu i Rachel roddi Bilhah i'w gwr? A aberthasai hi ei theimladau yn y modd hyn, er mwyn cyflawni pechod? A aberthasai hi, nid yn unig y gwrthddrych daearol anwylaf a feddai, eithr hefyd darostwng ei hun i bechod a chondemniad, a rhedeg i'r perygl o aberthu ei thragywyddol iachawdwriaeth, i'r unig ddyben o gael Bilhah i godi plant i fyny iddi hi? Pa fudd a fuasai plant Bilhah iddi hi, mewn cymhariaeth i'r cariad a fedd gwraig at ei gwr, ac yn enwedig i'r cariad o gyfiawnhad gerbron Duw? Ai nid yw y siampl hon, ynte, o hunan aberthiad, yn dangos yn y modd mwyaf penderfynol, i Rachel ymddwyn oddiar uwch tueddfryd nâ dystryw ei henaid, er mwyn i'w gwr godi plant i fyny trwy Bilhah? Ai nid yw yn profi mai ymsyniad o ddyledswydd yn unig a weithredodd ar ei meddwl, a'i chymhell yn mlaen i wneyd aberth mor fawr? Pa fodd y llwyddodd Leah gyda'r Arglwydd i feddiannu ychwaneg o blant? Hi a gododd, amryw flynyddau gynt, bedwar o feibion i'w gwr; eithr am ryw reswm, yr Arglwydd dros ryw hyd o amser a'i hattaliodd rhag planta? Pa ddyledswydd neillduol a gyflawnodd hi mewn trefn o gael ei bendithio drachefn gyda phlant? Hi a roddodd ei llawforwyn Zilpah i'w gwr yn wraig. A ddygodd yr aberth hwn yr effaith ddymunol? Do, boddhaodd yr Arglwydd mor fawr, fel y gwrandawodd Efe ar Leah; a bu iddi hi ymddwyn ac esgor i Jacob bummed mab. A Leah a ddywedodd, "Rhoddodd Duw fy ngwobr i mi, *o herwydd rhoddi o honof fi fy llawforwyn i'm gwr*" (Genesis xxx). A ellir dywedyd, yn yr achos hwn, mai cariad at gael plant yn ychwanegol, a

anesid gan fenyw arall, a'i tueddai hi at ildio i aberth mor fawr? Pe plant a fuasai ei hamcan, yr oeddynt ganddi eisoes yn eiddo ei hunan; ac yn sicr, ni allasai plant Zilpah fod mor gu iddi hi â'i gwr anwyl ei hun. Pa ddyben uwch, ynte, a allasai ei thueddu at wneyd yr aberth? Pe buasai lliosog-rwydd yn bechadurus, a ddysgwyliasai hi y llwyddai ei phech-odau gyda'r Arglwydd, ac y parasai ei throseddiadau iddo ef wrando ei gweddi, a rhoddi plant yn ychwanegol iddi? Os oedd rhoddi ei morwyn i'w gwr yn atgas i Dduw, paham y gwrandawodd efe ei gweddi, a'i bendithio am wneyd felly? Ai nid yw yr holl ffeithiau hyn yn profi fod Duw wedi ei dra foddloni gyda y drefn o amledd, fel ei harferwyd gan y dynion a'r menywod santaidd hyn?

3. Pa le erioed y bu santeiddiach dyn nâ Moses, â'r hwn yr ymddyddanodd Duw wyneb yn wyneb? Ai ni wybu Moses ynghylch Crist, Cristionogaeth, a'r Efengyl? Dywed yr Iesu, i Moses ysgrifenu am dano ef: dywed Paul y cyfrifodd Moses yn fwy golud ddirmyg Crist, nâ thrysorau yr Aifft: ac etto, dywed, y pregethwyd yr Efengyl iddynt hwy (plant Israel yn yr anialwch), yn gystadl ag i ninnau, a thystia y bedyddiwyd hwy yn y cwmmwl ac yn y môr. Os, gan hyny, y credodd Moses yr Efengyl, y bedyddiwyd ef, ac y cofleidiodd Gristion-ogaeth, a goddef dirmyg Crist, ai nid oedd efe yn llawn gym-maint Cristion â'r rhai hyny a gofleidiasent yr Efengyl wedi Crist? Yr oedd Moses, gan hyny, yn amlwreigiwr Cristion-ogol, a dododd siampl o flaen holl Israel; a chan y bu i'w frawd a'i chwaer ei hun, Aaron a Miriam y brophwydes, ddy-wedyd yn erbyn un o'i wragedd, yr Arglwydd ydoedd dra digllawn wrthynt hwy, a tharawodd Miriam â'r gwahanglwyf. (Numeri xii.) Oni ddangosodd yr Arglwydd yn y modd egluraf, trwy y weithred hon, ei fod yn cymmeradwyo aml-wreigiaeth, a'i fod yn ystyried yn gyssegredig i Moses y gwragedd a gymmerodd? Ai ni fu i Dduw ei hun roddi cyfreithiau trwy Moses, at reoleiddio esgyniad eiddo yn nheulu-oedd amlwreigwyr? Ai ni chafodd Moses, er yn amlwreigiwr, ei achub yn nheyrnas Dduw? Ai ni ymddangosodd Moses ac Elias mewn gogoniant i Pedr, Iago, ac Ioan, yn y mynydd santaidd, yn amser gweddgyfnewidiad Crist? Os gallesid achub Moses trwy yr Efengyl, a thrwy gofleidio Crist, yna ai

nid yw yn sicr y cymmeradwywyd amlwreïgiaeth yn llawn ogymmaint dan yr Efengyl â than y gyfraith?

4. Os oedd amlwreigiaeth yn bechadurus a throseddol, paham y gorchymynodd Duw i'r brawd byw briodi holl weddwon ei frodyr trancedig, a fuont feirw yn ddiblant? A fuasai Duw yn gorchymyn ei bobl dan benyd drom i gyflawni pechod, ac yna eu cospi hwynt am ei wneyd? Rhaid y buasai yn gyflwr tost, pe y melldithid plant Israel am na chadwasant y gyfraith, ac yna drachefn eu melldithio pe y cadwasent hi! Etto, rhaid yw mai hyn ydoedd y cyflwr, os oeddynt i gael eu melldithio am fod yn amlwreigwyr, tra y gorfodai cyfraith Duw hwynt mewn achosion penodol i fod felly.

5. Yn nyddiau Crist, tra yr oedd cyfraith Moses hyd hyny mewn llawn grym, rhaid yw fod yno filoedd o Israel, yn rhai eu gorfodid gan eu cyfraith i fod yn amlwreigwyr, neu ynte, ddyoddef penyd y felldith gyssylltiedig â'r gyfraith hono! Mewn pa ffordd y gallasai yr amlwreigwyr hyny gofleidio Cristionogaeth, a chael eu derbyn i Egiwys Crist? A ydoedd yn gyfreithlawn i amlwreigwyr gael eu bedyddio i'r Eglwys Gristionogol? Os nad oedd, a ganiatasai yr Efengyl iddynt hwy ysgaru eu holl wragedd, ond un? A ganiatasai yr Efengyl iddynt hwy roddi ymaith y rhai hyny y bu i Dduw, trwy orchymyn pendant, eu cyssylltu ynghyd? Os caniatasai yr Efengyl ysgaru yr oll ond un, yna pa wragedd oedd i'w bwrw allan gyda eu plant, a pha ryw un oedd i'w chadw? Ond os na chaniatasai yr Efengyl i'r Amlwreigwyr hyn ysgaru eu gwragedd, oddigerth yn achos godineb, pa beth a allasent hwy ei wneyd? A allasent hwy gael eu hachub heb ddyfod i'r Eglwys Gristionogol? Ac os na allasent, ai rhaid oedd eu damnio heb feddyginiaeth? A ddarfu iddynt, trwy gadw y gyfraith yn unol â gorchymyn Duw, lëoli eu hunain mewn cyflwr anobeithiol, lle na allasai Cristionogaeth eu cyrhaedd hwynt? Os felly, rhaid yw eu hanfonid i uffern, pe y methasent a chadw y gyfraith, ac yr anfonasai Cristionogaeth hwynt i uffern, heb gynnyg unrhyw feddyginiaeth, o herwydd y cadwasant y gyfraith, ac felly ddyfod yn amlwreigwyr. Eithr y mae hyn yn rhy wrthun hyd y nod i ddynion gwylltion ei gredu. Byddai yn gabledd erchyllaf i wneyd Duw yn Awdwr y fath athrawiaeth ddrygionus. Yna, nis gall un ddadleu,

nad oedd i'r amlwreigwyr Iuddewig, gyda eu holl wragedd, yr un fraint o fyned i'r Eglwys Gristionogol ag ereill pwy bynag. A chan y rhaid mai fel hyn yr oedd, yna, pwy a faidd ddywedyd nad oedd amlwreigiaeth yn cael ei arferyd a'i gymmeradwyo gan y rhai hyny yn yr Eglwys Gristionogol yn nyddiau ein Iachawdwr a'i apostolion? A oedd yno un dull yn bosibl i ryddhau yr amlwreigiwr Iuddewig o'i ddyrysweh, a'i achub yn nheyrnas Dduw, yn fyr o Gristionogaeth? Mor sicr ag yr achubwyd neb o honynt, mor sicr y goddefodd Cristionogaeth amlwreigiaeth; oblegid yr ydym yn sicr na oddefodd hi ysgariaeth, ond yn unig am drosedd penodol.

*(I'w barhau.)* *Cyf.* ROBYN DDU.

## AMRYWIAETHAU, &c.

ADNABYDDA dy gyfaill cyn dweyd dy feddwl; canys y mae rhai llestri yn gollwng yr oll a roddir ynddynt.

GWELL pilsen chwerw, na nychdod hir.

MAE y dynion didwyll i'w darllen yn eu gwynebau; eithr rhaid cael gweled calon y twyllodrus er eu hadwaen.

CYNGHOR.

Gwna i arall fel y dylid,
Paid a thori cyfraith rhyddid;
Ac wrth fesur, cofia roddi
'Rhyn a ddwg gan cymmaint iti.

TALIADAU O RAG. 16 HYD RHAG. 21.—Sir Feirionydd, 18s; Sir Fôn, 9s 6c; Caerdyf, 13s 6c; Pontytypridd, 5s 6c; Aberdâr, 5s; Aberamman, 5s; Cap Coch, 10s; Hirwaen, 2s 3c; Georgetown, 5s 3c; Troedyrhyw, 3s 9c.—Cyfanswm, £3 17s 9c.

☞ Galwn sylw y Saint oll at sylwadau y Llywydd S. W. Richards, ar Ddegwm a'r Drysorfa Ymfudol Barhaus, yn y "Star" am Ragfyr 24.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *John Davis, Printer, Georgetown, Merthyr-Tydfil.*

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 27.] RHAGFYR 31, 1853. [CYF. VI.

## UDGANIAD OLAF YR UDGANWR CYNTAF.

Y MAE pum mlynedd wedi myned heibio, a chwech cyfrol o UDGORN SEION wedi eu cyhoeddi, er pan ein penodwyd i udganu i genedl y Cymry. Yr ydym yn awr yn cyflwyno ein swydd i fyny, ac yn udganu am y tro olaf, cyn cychwyn o honom i Ddyffryn y Mynyddoedd, i ymwneyd â gwaith arall. Llawer gwaith yr udganasom wrth ereill, yn enw Duw, "Deuwch allan o honi hi, fy mhobl i;" yr ydym yn awr yn ufyddhau i'r alwad hono ein hunain, gan roddi yr Udgorn yn nwylaw gwr galluog i udganu yn ein lle. Anturiwn ddweyd i ni udganu yn agos gystal ag y gallem, yn gyferbyniol i'n gwybodaeth a'n medrusrwydd; ond gwyddom y perthynai i ni wendidau a ffaeleddau. Galwyd ni i swydd yn ieuanc, a buom yn ymwneyd â gwaith pwysig, tra yn lled anmhrofiadol, ac yn amddifad i raddau o gynghorion yr oedranus a'r profiadol. Ein hymdrech a'n hamcan a fuont i wneyd daioni, serch y gallai ein dull o weithredu ar droion, fod yn groes i farn rhai o'n lliosog ddarllenwyr. Meddyliwn yn awr ein bod wedi dysgu ychydig brofiad; ond buasai yn dda genym pe meddem yr ychydig hwnw pan ddechreuasom ein gwaith. Dysga hyn bawb nad yw profiad i'w brynu heb dalu yn ddrud am dano. Gallwn ddweyd i ni wneyd agos ein goreu hefyd i ddysgu mewn siampl yr hyn a ddysgem trwy yr UDGORN, fel na fyddai ein llafur yn ofer; canys pwnc mawr yw cael geiriau a gweithredoedd i gyd-dystiolaethu. Heblaw hyny, ymdrechasom i fod yn onest a

didderbyn wyneb, gan ystyried fod genym gyfrif i roddi gerbron Duw. Gan hyny, nid ofnwn wyneb neb, ac ni theimlwn ddygasedd at un dyn. Mae ein bron yn heddychlawn, a'n dymuniad i lesoli pawb, ac adeiladu teyrnas Dduw.

Cyflwynwn ein diolchgarwch gwresocaf i Dduw, am ei ofal tadol am danom, tra yn ymwneyd â'i waith; a diolchwn yn garedig i'n holl frodyr a roddasant eu cynnorthwy i ni o bryd i'w gilydd. Yr Arglwydd a'n gwobrwyo ni a hwythau yn ol ein ffyddlondeb, ac a gorono ein llafur â llwyddiant; a bendithied ei anwyl Saint â'r hyn oll a ddymuna eu calonau, fel y cyd-gyfarfyddom oll rhwng y bryniau tragywyddol, i gael ein dysgu yn fanylach yn nghyfraith Duw.

Yn awr, UDGORN SEION, ein genau cyhoeddus am bum mlynedd, ffarwel i ti o'r diwedd; y dydd a ddaeth i newid dy udganwr. Wele ni ar fyned ymaith, i'r lle ein gwahoddaist lawer gwaith; ac yn mhen wythnos etto bydd arall yn chwythu trwyddot. Bendith a ddilyno dy sain, a boed i ti amgenach udganwr bob tro ei newidir. Dy udganwr nesaf a gaffo ddylanwad cynnyddol; ei chwyth a bereiddio ac a nertho dy sain, nes y treiddio yn mhell, îe, i galonau y rhai pur a gonest; ac na foed neb trwy y wlad, na roesawo sain UDGORN SEION, neu nad ymsiriolo yn llewyrch *Seren y Saint*.

UDGORN SEION! hir udgana;
Tithau'i *Seren*, hoff lewyrcha:
Bendith Iôr ddilyno'r ffyddlon,
Nes eu casglu oll i Seion.

Ninnau 'nawr sy'n canu ffarwel;
'Madael wnawn â dwyfron dawel;
Gweddied Saint am lwydd i'n hymdaith,—
Ninnau gofiwn hyny ganwaith.

---

ENGLYNION I'R GOLYGYDD.[1]

Udganaist, synaist bersoniaid—doethion,
Daethost drwy bob gwrthblaid;
A'th araeth yn bleth euraid,
Nerth a ro'ist, IOAN, wrth raid.

Yn SEION fwyn, heb gwyno,—i DAVIS,
Difyr cael gorphwyso:—
Arall frawd, drwy wella'i fro,
Da 'i gynnydd, a *udgano*.

ROBYN DDU, ERYRI.

## PRIODAS NEFOLAIDD.

[Parhad o dud. 420.]

6. Os ydyw amlwreigiaeth i'w ystyried yn bechadurus o dan yr oruchwyliaeth Efengylaidd, paham y llafarodd Dafydd am wragedd anrhydeddus Mab Duw ei hun, a desgrifio mor fanylaidd un o'i Freninesau? A fuasai Crist yn cymmeradwyo sefydliad pechadurus trwy ei arferiad ei hun? ac yna orchymyn ei ddyscyblion i'w ddilyn ef?

7. Os na ellir gollwng amlwreigwyr i'r Eglwys Gristionogol, paham y prophwydodd Esaiah, am ogoniant dyfodol Seion dan yr oruchwyliaeth Gristionogol, a'n hysbysu mai "Yn y dydd hwnw saith o wragedd a ymaflant mewn un gwr, gan ddywedyd, Ein bara ein hunain a fwytawn, a'n dillad ein hunain a wisgwn, yn unig galwer dy enw di arnom ni, i gymmeryd ymaith ein gwarth?" Os yw y fath bethau yn bechadurus, paham y rhag-ddywedodd Esaiah yn mhellach, mai "Yn y dydd hwnw, blaguryn yr Arglwydd a fydd brydferth a gogoneddus, ac y gelwir pob un ar a adewir yn Seion yn santaidd, ac y byddai i'w holl breswylfeydd a'u cynnulleidfaoedd, gael eu cysgodi gyda chwmwl a mwg y dydd, ac â cholofn o dân y nos?" Paham y mae i'r amlwreigwyr hyn, y rhai sydd i gael saith o wragedd, i ymaflyd yn eu godreu i'w galw yn santaidd —i fod mor brydferth a gogoneddus—i gael y fath arddangosiad mawreddog o ogoniant Duw yn eu canol? Paham y mae i'r hyn oll etto gymmeryd lle o dan yr oruchwyliaeth Gristionogol, os nad yw amlwreigiaeth i'w oddef yn Eglwys Crist, ac os yw mor ffiaidd yn ngolwg Duw? Ai nid yw y pethau hyn oll yn profi fod amlwreigiaeth yn gytunol â Christionogaeth, ac y bodolodd, ac y bodola yn yr Eglwys Gristionogol yn nyddiau ei gogoniant mwyaf? A ddichon unrhyw ddarllenydd y Beibl neu gredydd y Beibl wrthddadleu hyn?

8. A all rhywun fynegi paham i Dafydd, cyn iddo gyflawni godineb, a bod yn foddion i dywallt gwaed gwirion, gael ei alw yn wr yn ol calon Duw? Ai ni phriododd ef saith o wragedd cyn i Dduw ei ddyrchafu ef i orsedd Israel? Wedi i Dafydd gymmeryd eisoes saith o wragedd, paham y rhoddodd Duw holl wragedd Saul iddo yn ychwanegol? A feddyliodd yr Arglwydd nad oedd gan Dafydd nifer ddigonol, gan y bu iddo Ef

ei hun roddi ychwaneg? Pwy a feiddia ddywedyd nad yw amlwreigiaeth yn sefydliad dwyfol pan ei gorchymynwyd gan Dduw trwy enau Moses, ac wedi hyny yn weithredol roddi gwragedd Saul i fynwes Dafydd?

9. Os nad yw amlwreigiaeth yn sefydliad dwyfol, paham y bu i'r dyn da hwnw, Jehoiadah yr Archoffeiriad, roddi dwy o wragedd i'r brenin da Joash? Ai ni wnaed hyn gan ddyn cyfiawn, a chan yr awdurdod uwchaf o'r offeiriadaeth a feddai Duw ar y ddaear?

10. Os nad oedd amlwreigiaeth yn sefydliad dwyfol, paham y gorchymynodd Duw i'r prophwyd Hosea briodi dwy o wragedd?

11. Os nad yw amlwreigiaeth yn fwy boddhaol yn mhlith pobl Dduw nag unwreigiaeth, neu y gyfundraeth o un wraig, paham y gorchymynodd Duw i Israel ladd yr oll o'u caethion rhyfel gwrrywaidd, ac i arbed yr holl forwynion yn fyw iddynt eu hunain? Paham y gorchymynodd Efe hwynt i wneyd hyn, megys rheol gyffredin yn eu holl ryfeloedd dyfodol yn erbyn dinasoedd a chenedlaethau estronol? Ai ni sefydlwyd hyny mewn trefn i ddiwallu Israel o ddigon o fenywod at wneyd cenedl o amlwreigwyr? Ai nid yn y ffordd hon y bwriadodd Efe i liosogi Israel yn fawr, a'u gwneyd hwy fel tywod ar làn y môr, yn gyfunol â'r addewidion a wnaed i'w hynafiaid amlwreigiol?

12. Os, yn mhlith y cyfiawnion, nad yw amlwreigwyr yn anrhydeddusach yn ngolwg Duw nâ'r un-wreigwyr, pa fodd y mae fod Duw yn gyffredinol yn dewis y blaenaf i fod yn waredwyr, barnwyr, rheolwyr, breninoedd, offeiriaid, prophwydi, a phatriarchiaid, yn hytrach nâ'r olaf? Paham y dewiswyd Gideon, yr hwn oedd ganddo lawer o wragedd, a dim llai nâ deuddeg a thrugain o feibion, i wared Israel? Paham y dewisodd Brenin breninoedd ac Arglwydd arglwyddi, gael ei eni i'r byd hwn mewn teulu ag oedd ei hynafiaid yn amlwreigwyr nodedig? Ai nid yw yr holl bethau hyn yn profi fod Duw, yn mhlith y cyfiawnion, yn dewis y gyfundrefn o amlwreigiaeth yn hytrach i'r un hono o unwreigiaeth?

13. Os nad oedd amlwreigiaeth yn ganiatäol yn yr Eglwys Gristionogol, paham y gofynai Paul i Timotheus neillduo o blith yr aelodau eglwysig, ddynion ag oeddynt wyr un wraig, i'r swyddi o esgobion a diaconiaid? Pe na fuasai amlwreigwyr yn yr Eglwys, a fuasai yn bosibl i Timotheus eu neillduo

hwynt? Ac os yn anmhosibl, paham y rhoddodd y cyngor? Ai nid yw hyn yn profi yn y modd mwyaf penderfynol, fod amlwreigiaeth yn bodoli yn yr eglwys hono? A ddengys Paul yn un lle fod amlwreigiaeth yn ddrwg ac anfoesol? Ai ni ofynodd efe wneyd y fath neillduadau, mewn trefn i'r swyddogion hyn beidio a chael eu beichio gyda gofalon teulu lliosog? Gallasai fod yn anghenrheidiol, weithiau, o dan amgylchiadau penodol, i ddewis ddynion ieuainc ag oeddynt sengl i'w hordeinio at eu hanfon ar genadiaethau penodol, lle y buasai hyd y nod un wraig yn faich mawr, ac am yr amser a fodolai yn rhwystr i'w defnyddioldeb. O herwydd, dan y cyfryw amgylchiadau, rhoddid hyfforddiadau i neillduo dynion sengl; a ddylid casglu, gan hyny, mai pechadurus oedd i ereill fod yn wyr? Felly, yr un fath, ac ystyried y dyledswyddau pwysfawr a ofynid gan esgobion a diaconiaid, meddyliai Paul yn well neillduo i'r swyddi hyn wyr yn berchen un wraig: a ddylid casglu, gan hyny, mai pechadurus oedd i wyr ereill gael mwy nag un?

14. A fu i'n Iachawdwr, neu neb o'i apostolion, erioed wahardd amlwreigiaeth, neu ei gondemnio fel yn bechadurus? Os naddo, paham y condemnia y byd Cristionogol hyny yn awr? A ydynt yn meddwl bod yn gyfiawnach yn yr ystyr hyn, nag Iesu Grist, Awdwr Cristionogaeth?

15. Y mae cannoedd o filoedd o amlwreigwyr yn mhlith amrywiol genedloedd y ddaear, yn rai a briodasant eu gwragedd yn gyfunol â chyfreithiau eu llywodraethau priodol. Pan yr anfono y byd Cristionogol eu cenadon allan i'w dychwelyd hwynt, mewn pa ffordd y gallant hwy gael eu gollwng i'r Eglwys? A raid iddynt ysgaru eu holl wragedd ond un? os felly, pa un o honynt a gadwant, a pha rai o honynt a fwriant allan ar drugareddau creulawn y byd? Rhyw ddyn cyfoethog, mwyn, a charedig yn Asia, yr hwn nis gŵyr ddim am Gristionogaeth, a bryn iddo ei hun ddeg morwyn, ac a'u prioda oll ar yr un amser, yn gyfunol â defodau a chyfreithiau ei wlad. Cyfyd pob un o'i wragedd iddo bedwar o blant i fyny. Wedi hyny, dygwydd i genadydd o'r byd Cristionogol fyned hyd ato, a phregethu iddo ef a'i deulu lliosog Gristionogaeth; mae efe, a'i ddeg gwraig, a deugain o blant, yn credu oll, ac yn ewyllysio cael eu bedyddio i'r Eglwys Gristionogol. Hysbysir

ef gan y cenadydd, y rhaid iddo ef ysgaru ei holl wragedd ond un, heb yr hyn nis gall ef gael ei dderbyn. Eithr nis gwyr y cenadydd, na'r dyn ei hun, am unrhyw reol i benderfynu pa un o'r deg sydd i'w chadw. Priodwyd hwy oll iddo ef ar yr un amser; mae gan yr oll i fod yn ffyddlawn iddo ef: a dygodd pob un iddo nifer gyfartal o blant.

Eithr o'r diwedd, heb un reol, gwnaed y penderfyniad; troir naw rhan o ddeg o'i deulu anwyl ymaith; nid, modd bynag, heb aberthiad calon rwygol o deimladau ar ei ran ef a'i deulu hawddgarol. Gollyngir ef a'i wraig yn awr i'r Eglwys, ac ystyrir hwy yn Gristionogion da. Ond dwy ran o dair o'i deulu a dorwyd fel hyn o'i gofleidiad, ac a fwriwyd allan, a dechreuant ammau yn dra difrifol pa un a yw Cristionogaeth gystadl â chrefydd eu cenedl eu hunain. Dechreuant feddwl nas dichon crefydd a dora deuluoedd i fyny fel hyn fod yn dda; hwy a'i gwrthodant ar unwaith, ac a droant at eu heilunaddoliaeth. Am y drydedd ran arall o'r gwragedd adfydus a fwriwyd allan, efallai fod ganddynt hyd y nod etto obaith gwanaidd yn aros o fod Cristionogaeth yn gyfundrefn gywir o grefydd; eithr heb ganddynt wr a noddwr, hwynt yn y diwedd a gyfarfyddant gyda chyfleusdra i briodi gwyr eilunaddolgar; ac wedi ennyd, heb ganddynt wyr Cristionogol i'w harwain hwynt, hwy a gollant yn hollol yr ychydig ffydd oedd ganddynt, a chofleidiant etto grefydd eu gwyr a'u tadau, a'r plant tlodion a ganlynant siamplau eu mamau. Fel hyn, y naw gwragedd ac un ar bymtheg ar hugain o blant a gredasant yn Nghristionogaeth, ac a aethent i mewn gyda'i gwr a'u tad, pe na throasid hwynt ymaith, a wthir i amgylchiadau a ogwyddant i ddinystrio ac i lwyr ddileu o'u meddyliau bob ffydd yn y grefydd Gristionogol. A ydyw Cristionogaeth yn gofyn cenadon i ddilyn y fath yrfa yn mysg cenedloedd amlwreigiol? A ydyw hi yn gofyn iddynt i dori yn wahanedig gylymau teuluol; i dori i fyny a chwalu mewn rhai enghreifftiau naw rhan o ddeg o'r rhai hyny ag ydynt agosach ac yn werthfawrocach i'w gilydd nâ bywyd? A ydyw hi yn gofyn iddynt ganlyn ffordd sydd ogwyddedig yn ei gwir natur, i wneyd iddynt ffieiddio a chasâu Cristionogaeth, megys peth creulonach yn eu cyfrif hwynt nâ'r bedd? Wrth ba gyfraith o Gristionogaeth y dysgant hwy y cyfryw i ysgaru neb un o'u gwragedd, oddi-

gerth am yr achos o odineb? O fyd Cristionogol! pa le mae dy gyssondeb? y mae wedi ffoi! a gwrthuni a phob rhywiogaeth o ddrygioni a gymmerasant ei le ef! Yr ydwyt yn llygru y cenedloedd â'th buteindra, ac etto tydi a'u perswadi yn awyddus dy fod yn gyflawn; ond y mae y dydd gerllaw pan y cyhoeddir dy anwireddau ar benau y tai, a thi a gai dy farnu am dy holl aflendid a'th ffieidd-dra, a chai dy fwrw i lawr gan dân ysol. Yna y caiff ddyfod iachawdwriaeth, a gogoniant, ac anrhydedd, a gallu, a theyrnasiad heddwch, a dydd y cyfiawnion, yn yr hwn y caiff Abraham a'i wragedd, ynghyd â'i holl hâd ag sydd gyfiawn, etifeddu y ddaear, a theyrnasu am byth bythoedd.

*Cyf.* ROBYN DDU.

---

## DETHOLION O "HISTORY OF HENRY THE EIGHTH."

### AT YR OFFEIRIAID, NEU BARCHEDIGION Y SURPLICE.

FONEDDIGION,—Yn gymmaint â bod amrai o honoch, mal pe byddech yn y *cacoethes scribendi*, yn eich ymyriad â'r dyn enwog hwnw, JOSEPH SMITH, *Sylfaenydd mawr Mormoniaeth*, o flaen egwyddorion pa un y diflanna cyfeiliornadau Cristionogaeth ddiweddar, yn hyfal i lwydrew boreuol ar lethr-fron oddiwrth wres tanbeidiol yr haul; ac y cilia i'r cysgodion anghysbell, holl ddoethineb duwinyddion colegau byd. Byddai yn well i chwi o hyn allan ymorol tipyn am eich *dechreuad*, a chofio y lle y saerniwyd allan eich *urdurdod episcopalaidd*, ynghyd â gosodiad *Pen eich eglwys waddolog* "*lân Gatholic*;" a myfyrio ychydig ar rinweddau buchedd Harri VIII, Amddiffynydd a Phen Cyntaf "Eglwys Loegr," nid Eglwys Iesu Grist. Diau taw dyddiau dedwydd iawn i'r spiritual hirelings, fu Mawrth y nawfed, ynghyd â'r ugeinfed yn y fl. 1534. Er mwyn troi eich wynebau at ffynnonell eich Rhyddid Crefyddol, gwnaf hyn o ddechreu cymmwynas i chwi, trwy ostyngedig alw eich sylw difrifolaf at yr hyn a raid, wrth gwrs, fod yn anwylaidd gan eich mynwesau. A dyma fe, ychydig yn fyr, o Hanes Bywyd a Marwolaeth Harri yr Wythfed. Bydded i chwi ei gymharu yn ofalus â Hanes Bywyd a Marwolaeth Mr. Joseph Smith, yr hwn a gyfenwir yn Brophwyd y Duw byw. Yna cawn weled

ai y chwi neu y Mormoniaid a ddylent gywilyddio arddel a choledd egwyddorion sylfaenwr eu crefydd.

Ganwyd Harri VIII yn y flwyddyn 1491, a dechreuodd deyrnasu yn y flwyddyn 1509. Yn nechreuad ei deyrnasiad gwnaeth iddo ei hun gyfeillion mynwesol o wahanol bersonau, ag a dybiai efe a fyddent yn fwyaf tueddol i gyd-weithio ag ef yn ei amcanion a'i ddichellion bradwrus, gan nad beth a fyddai hyny. Dyrchafodd hwynt yn ebrwydd i sefyllfaoedd uchel ac anrhydeddus; ac wedi iddo eu dyrchafu felly, darostyngodd hwynt fel caethweision, i iselder, dirmyg, a gwarth. Prif nod ei ymgyrch a redai bob amser i'r eithafoedd mwyaf, mewn pethau gwladwriaethol neu grefyddol. Yn fuan wedi dechreu o hono deyrnasu, amrysonodd â Luther, athrawiaeth pa un a dybiai yn rhy werin-lywodraethol, a daeth yn *amddiffynydd y ffydd Gatholic.* Yn fuan wedi hyn, amrafaeliodd â'r Pab, yr hwn a safai yn ffordd ei briodas. Cafodd ei ysgymuo ddwywaith. Gwnaeth gredoau ac erthyglau, a gwnaeth yn drosedd i beidio tyngu iddynt. Gwnaeth ereill yn hollol wrthwynebol, a gwnaeth yn drosedd i beidio tyngu iddynt. I hyn oll, bu yr Offeiriaid o bob tu yn ffyddlon a diwyd dros ben, a'r gwrthwynebwyr a losgid â thân araf! Dadleuodd ag un ysgolhaig, a llosgodd ef er ei argyhoeddi. Llosgodd forwynig ieuanc am amlygu ei meddwl a'i barn. Torodd ben esgob Fisher, a Syr Thomas More, am wrthod disgyniad y goron, a galw ei blant ei hun o Catharine yn fastarddiaid!! Yspeiliodd yr eglwysi, a rhoddodd gyllid cwfaint i hen wreigan am boten *(pudding).* Llosgodd foneddiges brydweddol a chall, am amlygu meddwl croes i draws-sylweddiad! Ei gnawdolrwydd aflywodraethus, a'i serch gwammal a phenboeth a'i gyrai i'r eithafoedd mwyaf anllad, dideimlad, a chywilyddus. Priododd yn gyntaf â'i chwaer-yn-nghyfraith, Catharine o Arragon, gweddw ei frawd Arthur. Ac o herwydd i ddau o'i phlant feirw yn ieuainc, ysgarodd hi. Priododd ei *maid of honour*, Anne Boleyn, yr hon a fu am saith mlynedd yn ei lys, a gwnaeth i'r senedd, a'r offeiriaid gyhoeddi ei fod wedi gwneuthur yn dda. Wedi hyny, torodd ei phen hi, a phedwar ereill yn gwmpeini iddi, am na thyngent yn ei herbyn ar gam. Fe daflwyd corff Anne i hen gist lwyfen, a chladdwyd hi ynddi. Penderfynodd hefyd gyfrif Elizabeth ei ferch o Anne Boleyn

yn fastarddes, yr un fath â'i blant o Catharine! Tranoeth i'r dydd y torwyd pen y frenines Anne, priododd ei drydedd wraig, Anne Seymour, a'r senedd a'r offeiriaid a'i gwnaethant yn drosedd i ddywedyd nad oedd hyny yn iawn. Yn nesaf, cynnygiodd i Francis 1af, i ddwyn iddo ddwy dywysoges, ac amrai foneddigesau ereill drosodd o Ffrainc, fel y gallai ddewis pedwaredd gwraig yn eu plith hwynt. Gwelodd Francis yn ormod diraddiad a sarhad i'r boneddigesau Ffrengaidd i wneyd hyn: felly Harri a syrthiodd mewn cariad â darlun boneddiges Ellmynaidd, Anne o Cleve, yr hwn a dynwyd gan Hans Holbein, a phriododd hi cyn iddo ei gweled. Pan ddygwyd hi drosodd, aeth Harri yn awyddus i Rochester i'w gweled, ond cyn gynted ag y deallodd nad oedd hi yn deall un iaith ond yr Ellmynaeg, ac nad oedd yn ei foddio, tyngodd iddynt ddwyn *caseg* o *Flanders* drosodd iddo. Yn mhen ychydig amser, cytunodd y gymmanfa eglwysaidd, ar gais Harri, i ddiddymu y briodas, a chyhoeddasant Harri ac Anne yn rhydd i briodi y sawl a fynent. Galwodd Harri hi yn chwaer fabwysiadol iddo, a rhoddodd bedair mil y flwyddyn i'w chynnal. Ac fel y darfu iddo ddinystrio Cardinal Wolsey, pan flinodd ar ei wraig flaenorol, felly hefyd, torodd ben Thomas Cromwell, Iarll Essex, pan oedd wedi alaru ar yr un hon. Yn fuan wedi hyn, priododd y pummed wraig, Catharine Howard. Ymhyfrydodd gymmaint yn ei thegwch, fel y parodd i'r esgobion gyfansoddi ffurfiau o ddiolchgarwch i Dduw, am y dewisiad dedwydd a wnaethai, a'u darllen gyda phwys yn yr eglwysi. Ac wedi ychydig fisoedd condemniwyd hi—torwyd ei phen hi ac arglwyddes arall, ynghyd â'i mamgu neu ei nain, ewyrthon, modrybydd, cefnderwydd, tua deuddeg o nifer. Drachefn, efe a' briododd ei chwechfed gwraig, o'r enw Catharine Parr; ni chafodd hithau, druan, fawr seibiant a thawelwch. Llosgwyd lliaws pan oedd yn newydd-weddog. Wedi cyflawni yr holl bethau hyn, a mil mwy, bu Harri farw, o glwyf braenedig yn ei goes, Ion. 28, 1547, yn ddwy flwydd ar bymtheg a deugain oed, wedi teyrnasu dwy flynedd ar bymtheg ar hugain a naw mis. "Ei falchder a'i wagedd oedd yn ei lywodraethu. Yr oedd yn arglwyddaidd, ac ni oddefai ei wrthddywedyd na'i hyfforddi: yr oedd yn fyrbwyll, traws, afradlon, a digasog ddialgar; yn ddyeithr i deimlad a thosturi, a phorthai

ei lid a'i gynddeiriogrwydd ar draul cyfiawnder a dynoliaeth, heb brofi dim euogrwydd na gofid yn ol llaw. Yr oedd mor greulawn a thraws-lywodraethol, mal yr oedd yn ymddangos ei fod yn ymhyfrydu yn ngwaed ei ddeiliaid. Gosodwyd deuddeg mil a thrugain o ddynion i farwolaeth yn ei deyrnasiad, heblaw y rhai a ddirdynwyd ac a losgwyd, yr hyn sydd yn agos i ddwy fil yn y flwyddyn!!" Mor ddall yw y rhai a briodolant ryddid i'r fath ddihiryn anllad a gormesol! Mor eofn, haerllug, a digydwybod, y rhaid fod yr adyn truenus hwnw na chywilyddia arddel unrhyw berthynas, na chysylltiad â'r fath ormes-deyrn creulawn a halogedig! Yn gymmaint â bod Harri yn ei ewyllys wedi gadael chwech cant o bunnau i'r Offeiriaid, am weddio ei enaid allan o'r purdan, diau fod ganddynt lawer mwy nâ llawn dasg o'u blaen, a bod yn ddyfal iawn wrthi hefyd. Bydd yn ddigon cynnar iddynt ddechreu dirmygu a cheisio gwaradwyddo y Prophwyd Joseph Smith, na neb arall o weision awdurdodedig Duw, wedi y caffont Harri yr Wythfed, tad eu rhyddid, allan o'r purdan.

> *Have at it*, 'mlaen â chwi yn lew,
> Mae brasder yma—dewch yn dew;
> Ond ceisiwch bwyll, na fyddwch ffol,
> Rhag myned yno ar ei ol.

"Nid oes i leiddiad dyn fywyd tragywyddol yn aros ynddo ef."

Gwn yn dda am lawer o offeiriaid sydd yn ddynion da iawn, a chwennychant ddaioni ereill hefyd, a dymuniad dirgel ynddynt am y gwir. Wrth y cyfryw dywedaf o'm calon, chwychwi a adnabyddwyf yn dda; chwychwi, y rhai y cefais yr anrhydedd o gyfeillachu yn ddifyrus ac adeiladol â chwi yr amser gynt. Foneddigion, O edifarhewch â'ch holl galon, ïe, O ymryddhewch oddiwrth iau caethiwed, ac ymunwch â Saint y Dyddiau Diweddaf,—byddwch barod i aberthu pob mwyniannau daearol, er mwyn cael gafael ar y bywyd tragywyddol,—deuwch, a bedyddier pob un o honoch er maddeuant pechodau, a chewch orphwysdra i'ch eneidiau. Deuwch yn awr, ac nac oedwch, oblegid byr waith a wna Duw ar y ddaear. Dywedaf etto, ymunwch â'r Saint, o herwydd dyma yr *unig* ddynion ar y ddaear sydd ag OFFEIRIADAETH DUW yn eu plith. Trosglwyddwyd hi i'r ddaear hon i'r Prophwyd Joseph Smith, a thrwyddo ef i ni: yr wyf yn gwybod hyny. Profwch

chwithau hyn, a chewch wybodaeth o hyny i chwi eich hunain. Byddwch wych.

Ydwyf, yn serchus fel arfer, eich cyfaill,

*Llanelli.* DEWI ELFED.

---

## YR ALWAD.

GWRANDAWED lluoedd daear ar lais Jehofa'r pen,
Clywch sain yr udgorn hynod yn swnio îs y nen;
Mae'n galw sylw manwl trigolion dae'r i gyd,
Y gwreng a'r boneddigion, yn ddiwahan ynghyd.

Dystawed yr holl ddoethion, y deallus fydd yn fud,
Gwrandewch oll mewn symlrwydd ar sain efengyl glyd;
Rhybydd-lais Duw y nefoedd sy'n adsain oddi fry,
'R efengyl am y deyrnas, 'nol geiriau'r Iesu cu.

Clyw gedyrn dystiolaethau y gweision ar y llawr,
O gwrando hoff newyddion, a ddwg lawenydd mawr;
Na âd i'r anwireddau sy'n chwifio yma 'thraw,
I oeri 'th gariad atom, na pheri it' gael braw.

Dawn ysbryd pur y bywyd—cai ei fwynhau yn rhad,
Os mewn gwir ostyngeiddrwydd gwnai blygu i ddeddfau'r Tad:
Sef cym'ryd dy fedyddio yn enw'r Trioedd Glân,
A phenderfynu gwrando, a myned yn y bla'n.

Gwna'r ysbryd hwn ddwyn bywyd—pob ofn gilia draw,
Gwna'th gyfarwyddo hefyd i ddweyd fy Nhad heb fraw;
Rhydd gariad yn dy fynwes, tawelwch dan dy fron,
A'th fod yn eiddo'r nefoedd, fe dystia it' yn llon.

Gwna'r Ysbryd hwn dy nerthu yn ngwyneb saethau câs,
O eiddo y gelynion, rhai creulon a dirâs,
I'w cyfrif oll yn ddiddym, yn golled ac yn dom,
Er mwyn yr hoff wybodaeth gaed trwy'r efengyl hon.

Gwna sibrwd yn dy fynwes, fod cwymp y byd gerllaw;
Rhydd gyfarwyddid iti, i ffoi i'r Dyffryn draw,
Rhwng têg fynyddoedd Ephraim, diogelfan teulu Duw,
Rhag profi'n gâs o'r pläau, ond it' gael hyfryd fyw.

Chwi ie'nctyd, canol oedran, a'r hen sy'n caru'r gwir,
O ufyddhewch i'r alwad sy'n adsain drwy y tir:
Mae'r Iesu'r Pen urddasol, drwy'i weision yn ddiri',
Yn daer, o'i galon dyner, yn eich rhybyddio chwi.

*Dyffryn Conwy.* RICHARD ROBERTS.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Os bydd rhywun yn llefaru yn ddrwg am danoch, trowch adref i'ch cydwybod eich hunain, a chwiliwch eich calonau; os ydych yn euog, y mae yn gerydd cyfiawn; os ydych yn ddieuog, y mae yn addysg têg; gwnewch ddefnydd o'r ddau: felly bydd i chwi dynu mêl allan o'r bustl, a gwnewch y gelyn cyhoeddus yn gyfaill dirgel.

Mor ddiddychryn y gellir gwynebu pob rhyw farn, pan fyddo y gydwybod yn dawel.

Nid oes un perygl y llwydda anghyfiawnder am byth; gall dywyllu ein hwybren am dymmor, ond wedi hyny daw yn oleuach dydd nag erioed.

Cadw dy galon dy hun yn iach, ac yna meddyginiaetha galonau ereill.

Gogoniant y dyn da sydd yn gynnwysedig yn hyn,—pe bai ffyddlondeb yn cael ei golli o'r byd, y ceffid ef yn ei fynwes ei hun.

Argreffir 10,000 o gopïau o'r *Times* mewn un awr.

---

Taliadau o Rag. 22 hyd Rhag. 31.—Sir Fynwy, £10; Sir Frycheiniog, £5; Llanelli, £5 0s 6c; Sir Aberteifi, £3 11s 5c; Dyffryn Conwy, £1 10s; Sir Ddinbych, £4; Gogledd Penfro, £1 2s 3c; Sir Fôn, 12s 7c; Deau Penfro, 19s 4½c; Pendeulwyn, 13s; Twynyrodyn, 13s; Eglwysnewydd, 9s; Pontfaen, 8s 4c; Caerdyf, 5s; Dinas, 10s 5½c; Llanilltyd, 10s 6c; Pontypridd, £1 4s 6c; Llanfabon, 11s 9c; Cap Coch, 15s; Cwmnedd, £1 10s; Rymni, £1 11s 8½c; Georgetown, 5s 2c; Merthyr, £4 9s 7c; Pendaren, 10s 11c; Cefn, £2 7s 3c; Ffynnon-Tydfil, 12s 10c; Troedyrhiw, 10s 2c; Cwmbach, £3 0s 1c; Twyncarno, 7s 1c.—Cyfanswm, £53 1s 5½c.

☞ Anfoner pob llythyron, yn cynnwys eirchion a thaliadau, o hyn allan i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street*, *Glebeland*, *Merthyr-Tydfil.*

Ein Chwechfed Gyfrol sydd ar ben;
A ffarwel ro'wn i bawb. Amen.

---

CYNNWYSIAD.



---


MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. DAVIS, GEORGETOWN.

# UDGORN SEION,

NEU

# SEREN Y SAINT;

YN CYNNWYS

EGWYDDORION "GORUCHWYLIAETH CYFLAWNDER YR AMSEROEDD,"

MEWN

TRAETHODAU, LLYTHYRON, HANESION, PRYDYDDIAETH, &c.

"A mi a osodais wylwyr arnoch chwi, gan ddywedyd, Gwrandewch ar sain yr udgorn."—JER. VI, 17.

"Holl drigolion y byd, a phreswylwyr y ddaear, gwelwch pan gyfodo efe faner ar y mynyddoedd, a chlywch pan udgano ag udgorn."—ESA. XVIII, 3.

## CYFROL VII.

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD, CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN D. JONES.

1854.

4

# RHAGYMADRODD.

Tra y geilw *Udgyrn* gwledydd ddewrion byd i chwareulawr rhyfel, ac y boddir ei filoedd mewn Malstrom o waed dynion, geilw Udgorn Seion y "seithfed tro," ac ar hyd y Seithfed gyfrol hon i wlad lle triga pawb ynghyd mewn hedd yn y gorllewin fyd. Tra mai ein dyledswydd yw croniclo gwaith yr haint a'r plâ yn medi pobloedd y byd megys gwellt â phladuriau, gan eu gyru wrth y miloedd i ddarllen cyfrolau gwaith eu hoes mewn byd arall, ein braint a'n pleser ni fydd gwahodd drwy gyfrol arall o ein Hudgorn, y sawl a wrandawo ar ein llais i ffoi i heddychol ddyffrynoedd Ephraim, lle na chwyna na chiâf na chlwyfus braidd o fewn ei gororau. Tra y gwelir yn nrych y gyfrol hon sêr cynffonog ein hawyrgylch moesol yn sugn-dynu braidd draian eu lleuadau blith-drafflith ar eu hol, yn sefydlog saif "Seren y Saint" ar ei chyhydedd uwch preseb a magwrfa gwir Gristionogaeth, ac adlewyrcha oleuni "Sêr y boreu" draw o Seion, nes gwneuthur ein cyfrol olaf hon yn danbaid gan fwy o'u hynodion hwy, teilwng o groniclad cyd-oesol—*eurgrawn* yw o berlau y nef, yn anrheg rhodder hi i'r oes a ddêl.

I'r ysbrydol-ddyn a ddealla ei fod eisoes yn anadlu awyrgylch "tragywyddoldeb," ac yn ffurfio cymmeriad a theyrnas ddiddiwedd, nid ymddengys croniclad presennol ei weith-

redoedd yn rhôl y llyfrau a ddarllenir gan ei achau yn mhen oesoedd a ddêl o nemawr lai pwysigrwydd nâ'r cyflawniad o'r unrhyw yn nheyrnas Dduw, a dylai sel rhiaint i roddi cyfrolau Cronicl eu Heglwys yn nwylaw eu plant fod yn gyferbyniol i'w hawydd am iddynt gael iawn gyfarwyddyd i gyrhaedd hefyd y gamp uchel ar eu hol hwy: yn arweinyddion i'r oes a ddêl ar hyd llwybrau eu tadau, i gyd-fwynhau "Coronau anniflanedig," caffer y seithfed gyda y chwech cyfrol arall o UDGORN SEION, ynghyd â eu rhagflaenydd anturus, sef "PROPHWYD Y JUBILI" yn llyfr-gell pob Cymro a gâr ei âch.

Tra y diolchwn i'r Hwn a deilynga, am bob argoelion a welwn fod ein llais, cymmysgedig â dylanwad grymus ein gohebwyr, wedi llesoli ein derbynwyr, crefwn yn daerach am gefnogaeth yr oll i ledaenu cylchrediad a llanw tudalenau ein Cyfrol nesaf â mwy-fwy o hynodion argoelus yr oes olaf hon, fel yr *Udganom* ar yn ail wythnos o leiaf, yn ddifyrus i bawb, ac yn glodfawr i'r Hwn a'n pïa ni a'n HUDGORN, yr hyn yw amcan eich

GOLYGYDD.

# CYNNWYSIAD.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 1.] IONAWR 7, 1854. [CYF. VII.

## CYFARCHIAD GOLYGYDDOL.

HYBARCH DDARLLENYDD,—Wedi bod yn absennol o'r cylch Golygyddol am bump o flwyddi, dyma ni etto yn hyderus anturio iddo, gan ddymuno o'n calon i chwi "*flwyddyn newydd dda.*" Mewn amrywiol gylchoedd cyfarchasom amrywiol ieithoedd, tu yma a thu draw i foroedd yn y blwyddi mynedol; eithr mil gwell genym ddychwelyd i gyfarch yn wythnosol, ein brodyr unwaed yn iaith ein mam; ac hyderwn fod genym loffion a'u llesola, serch bod yn mhell dros fryniau creiglyd, hyd ddyffrynoedd y mynyddoedd yn eu hymofyn. Teg yw cyfaddef ar y dechreu, nad Golygydd hunan-wneuthurol y'm, ond wediein hwthio i'r cylch-dro hwn. Gan na wyddom well nag ufyddhau i'n gosodwyr doethach, yn hyn fel yn mhob peth arall, deuwn i'ch plith heb nemawr ymffrost, pa beth a wnawn, na pha bethau ar ni ddywedwn wrthych o wythnos bwy gilydd.

Oes y rhyfeddodau--dydd yr hynodion a welir yn argraffedig ar bob peth o'n hamgylch ni; a wado wyrthiau, edryched a gweled "gryddion a chobleriaid," yn tori allan yn dduwinyddion campus—"glowyr a mwnwyr" yn synu "gwlad oleu," ac yn hudo torfeydd o ddysgedigion i redeg ar eu hol—y "teiliwr a'r tincier," fel eu gelwir, yn swyno torfeydd o bob gradd â chyssondeb eu cyfundrefn newydd! Gan fod y gôf yn gadael ei forthwyl a'i eingion, a'r saer ei fwyall a'i lif, i gyhoeddi yr oruchwyliaeth ryfedd; a chan fod y pysgodwyr hwythau *unwaith etto*, yn oes y byd, yn gadael y rhwydau, ac yn rhedeg

i bysgota dynion yn eu rhwyd fawr ddwyfol; gan fod rhai fel hyn, meddwn, yn gallu gosod y byd ar dân, ac yn hudo ei drigolion o bob cwr, wrth yr ugeiniau o filoedd i ffoi i'w Seion waredigol wrth oleuni ei wreichion, er gwaethaf llysnafedd ei liaws *D. D's.*. ei *Rev's.*, ei *B. A's.*, a'i *A. B's*, a'i rifres gau-athrawon yn mron llesmeirio gan gynddeiriogrwydd, o herwydd na allant eu rhwystro! Yn nghanol y fath hynodion, pa syndod pe y morwr yntau a adawai ei long a'i oll, i lanw y *Drama.* Pan y mae yr holl fyd yn y crochan berwedig, a'i offeiriaid yn ffaglu eu drain o dano, pa ryfedd fyddai clywed un o feibion *Neptune* yn ysgrechian drwy ei Udgorn. Gan mai prif nodwedd yr oes yw i grytiaid dreio eu dawn drwy udganu am "Formoniaeth," ni siomid llawer, efallai, pe dysgem ninnau ambell dôn soniarus ryw bryd; o leiaf, addawwn wneyd ein goreu: ni feuir ni am beidio gwneyd yn well nâ hyny. Gwyddoch chwi ddarfod i'r Udgorn, yn llaw udganwr da, swnio yn uchel a soniarus, ac hysbyswn fod yn arosol etto, rai o brif udganwyr Cymru, a'u bod hefyd yn addaw chwythu drwy yr Udgorn yn y gyfrol hon, a gwneyd eu goreu i'ch boddio a'ch llesoli, fel trwy yr oll, hyderwn, na chwyna neb na chaiff ei *Geiniogwerth.*

O blith y lluaws hynodion, mwy na thebyg y ceir cryn amrywiaeth testunau; ymdrechwn ddethol y *gwirionedd* a geir, ac ymffrostiwn dipyn hefyd na chynnygiwn i chwi ond *gwirionedd* yn wybodus i ni. Yr y'm dipyn rhy gydwybodol hefyd i fegian yn daer arw arnoch ei chwalu yn mhlith eich cymmydogion, hyd nes y cewch arddeall beth a fydd ynddo; wedi ei weled, os hoffwch ef eich hun, tra thebyg yr hoffwch i bawb a garwch gael yr un pleser trwyddo. Wel, ymddygwch ato yn ol ei haeddiant, a boddlonir pawb—ni cheisir chwaneg Ac er na wyddom ninnau yn iawn beth fydd ynddo, er hyny y mae genym ddigon o ffydd i gyhoeddi cwpwl o filoedd o hono i ddechreu. Tra yr ymrwyma ei dderbynydd i dalu ei geiniog yn brydlawn am dano, ymrwymwn ninnau y caiff werth mwy na'i geiniog, ond ufyddhau i'r cynghor lleiaf a roddir ynddo; yn mhellach etto, ymrwymwn i fod yn atebol hyd a allwn, am y canlyniadau o ufyddhau iddo. O fewn cyffiniau Cymru ni wyddom am arall a addawa hyna, ond

Eich Gol.

# LLYTHYR ETHOLIAD.

15, Wilton Street, Liverpool, Bhagfyr 9fed, 1853.

Yr Henuriad Dan Jones,—Anwyl Frawd,—Wrth hyn gwybyddwch eich bod wedi eich ethol yn ddilyniedydd i'r Henuriad W. S. Phillips, yn Llywyddiaeth y Cynnadleddau Cymreig. Eich dyledswydd a fydd gwylied drostynt gyda gofal tadol; cydymgynghori ac hyfforddi y Bugeiliaid a'r Llywyddion Cynnadleddau, yn mhob materion a ymddangoso i chwi yn anghenrheidiol, er llwyddo achos Cyfiawnder a Gwirionedd; ac yn enwedigol i edrych fod yr hyfforddiadau a ddeuant allan drwy y *Star* o bryd i bryd, yn cael eu dwyn i weithrediad cywir a chyflawn, yn mysg Cangenau y Cynnadleddau cyfeiriedig: megys ethol a neilldu y dynion ffyddlonaf ac addasaf i addysgu ac hyfforddi yr eglwysi; galw ac ordeinio dynion i bregethu yr Efengyl, ac i agoryd lleoedd newyddion i'w phregethu; i wylied na fyddo unrhyw athrawiaethau yn cael eu dysgu yn mhlith yr eglwysi, oddieithr y cyfryw ar a orchymyna dadguddiadau yr Athrawiaeth a Chyfammodau i gael eu dysgu, trwy Epistolau y Brif Lywyddiaeth, a chyfarwyddiadau Llywyddiaeth yr Eglwysi Prydeinig o bryd bwy gilydd.

Dysgwylir hefyd i chwi wneyd eich hun yn hysbys â dosparthiad y Llyfrau a'r *Star*, trwy y Cynnadleddau uchod, ac edrych na fyddo Dosparthwyr y Cangenau yn gwerthu llyfrau, oddieithr y rhai y caffont dâl ar law am danynt; ar fod y Cynnaddleddau, a'r Cangenau yn dosparthu y *Star* ag sydd yn ngweddill ar law; ar fod y Cymdeithasau Traethodau, os oes rhai, yn talu am y llyfrau a brynasant; ac ar fod y mesurau goreu yn cael eu mabwysiadu, pa un bynag ai trwy offerynoliaeth Cymdeithasau Traethodau, neu Glubiau Llyfrau, er dosparthu yr Argraffedig Air; ac, yn enwedigol, ar fod yr arian a dderbynir oddiwrth y Cyhoeddiadau yn treiglo i'r Swyddfa yn brydlawn, fel na fyddo amgylchiadau y dosparth cyhoeddiadol yn llesgâu o'r herwydd; i ddysgu pawb ag sydd a meddiannau ganddynt i dalu eu Degwm; i gymhell cyfraniadau i'r Gymdeithas Ymfudol Barhaus; ac i ddysgu Llywyddion y Cynnadleddau, a'r Cangenau, yn mhob peth a gynnydda eu defnyddioldeb, ac a'u galluoga i adeiladu Eglwys Crist, mewn purdeb a nerth.

Na chaniatewch i unrhyw ddysgeidiaeth nac esiamplau anfoesol fod yn eglwys y Saint; eithr bydded i'r cyfryw a wrthodo rodio yn deilwng o'r alwedigaeth santaidd, ac o'u proffes, ar ol cael eu dysgu a'u rhybyddio yn ffyddlawn, gael eu tori ymaith o blith y cyfiawn, fel y byddo Eglwys Crist yn bur, ac yn cynnyddu mewn gwybodaeth o Dduw, trwy ddawn yr Ysbryd Glân.

Dymunir arnoch hefyd i gymmeryd arolygiad y dosparth Golygyddol a Chyhoeddiadol, a'i wneyd yn mhob peth yn wasanaethyddol i ledaeniad ac adeiladaeth gwaith yr Arglwydd yn y Dywysogaeth.

Gweddiwn ar fod Ysbryd a gallu Duw yn gorphwys yn nerthol arnoch chwi, fel y llanwer eich calon a'ch meddwl â geiriau y bywyd; a chynghorion y Santaidd Un a fyddo gyda chwi yn wastadol, fel y galluoger chwi i borthi y praidd, i feithrin yr ŵyn, ac i weinyddu iachawdwriaeth i'r bobloedd.

Cynghorir Llywyddion a phobloedd y Cynnadleddau Cymreig i'ch derbyn, i gyfranu o'u heiddo a'u gwasanaeth er eich cynnaliaeth a'ch cysur, ac ar rodio o honynt yn ol eich cynghorion; wrth wneuthur yr hyn bethau, gorphwysa bendithion y Goruchaf Dduw ar eu personau, ac ar yr oll a berthyn iddynt, trwy ein Harglwydd Iesu Grist.

S. W. Richards, { *Llywydd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, yn yr Ynysoedd Prydeinig.*

Daniel Spencer, *Cynghorydd.*

---

## LLYTHYR ODDIWRTH Y LLYWYDD WILLIAM S. PHILLIPS, AT Y SAINT YN NGHYMRU.

*Merthyr-Tydfil, Rhag.* 31, 1853.

Anwyl Saint,—Wele ystod y Llywyddiaeth a ddodwyd arnaf y dydd cyntaf o'r flwyddyn 1849, wedi dyfod i ben; a chan y bwriadaf fyned i Seion, yn nechreu y flwyddyn sydd yn ymyl gwawrio, yr ydwyf yn unol â'r apwyntiad blaenorol, yn darfod â'r Lywyddiaeth ar hyn o bryd. Fy neisyfiad yw i'r Eglwysi dderbyn fy olynydd â'u parodrwydd cysefin; oblegid mai hysbys i mi, trwy bum mlynedd o brofiad, y perthyn i'r swydd ddifrifol hon oruchwylion pwysig, y fath ag y sydd yn gofyn llawer o bwyll, ystyriaeth, doethineb, ac arweiniad diball yr Ysbryd Glân. Erfyniaf arnoch, anwyl Saint, gyd-ymdrechu

ar ei ran ef, mewn gweddiau ffyddiog, ac ymbiliau taerion; gan ymegnïo o honoch hefyd i'w gynnal ef yn mhob ffordd ddyledus, fel y byddo ei lywyddiaeth ef arnoch, yn gysur iddo ei hun, yn fendithiol i chwithau, ac yn ogoniant annherfynol i'r Arglwydd Dduw, yr Hwn a bïa y gwaith.

Gwaith Duw yw y gwaith hwn, a rhaid iddo lwyddo; ond y mae ein Tad nefol mor dirion â chaniatâu i chwi a minnau y fraint fawr o gynnorthwyo y llwyddiant mawreddog, trwy ein cyfraniadau haelionus, a'n gweddiau calonog: gan hyny, perchwch lywyddiaeth yr Eglwys hon, fel eich bywyd tragywyddol; canys rhaid yw i bob dyn a anmharcho lywyddiaeth yr Eglwys hon, ddyoddef cosp oddiwrth Dduw, o herwydd nid oes awdurdod ond a osododd Efe ynddi hi.

Caf eich anerch trwy yr Udgorn, o leiaf unwaith etto, cyn fy myned tua Dyffryn y Mynyddoedd: nid wyf yma namyn rhoddi y llywyddiaeth i fyny; a chan ewyllysio i chwi "flwyddyn newydd dda," a phob lles a ddichon i mi ei ddymuno i'm hunan. Y mae fy ngweddi ddidwyll am i Dduw, y Tad tragywyddol, fendithio fy olynydd, gyda phob bendith ag sydd yn drysoredig yn Nghrist Iesu ein Harglwydd. Felly y byddo. Amen.

Er peth dolur,—mynych gysur
Oedd i'm llafur, Seintiau llon;
Colli cysgu'n ceisio'ch llesu,
A wnai 'mrathu dan fy mron:
Ond o'r diwedd, mewn tangnefedd,
Af i'r ryfedd Seion rwydd;
A chaf yno, ag iach fynwes,
Ochri'ch lles a charu'ch llwydd.

Gadael mwynion iawn gyfeillion,
Sydd i'r galon heddyw'n gŵyn;
Ond troi'n ddiddig i'r Amerig,
Rydd arbenig fiwsig fwyn:
Gwir dduwiolion, yn un galon,
Draw yn Seion dirion sydd,
A chewch chwithau, megys finnau,
Ddod cyn hir o'ch rhwymau'n rhydd.

Ydwyf, gan eich caru mewn daioni,
Eich cywir frawd yn y Cyfammad Newydd,
W. S. Phillips.

---

## ANERCHIAD LLYWYDDOL.

Anwyliaid yn Eglwys Iesu Gr st.—Dwys ystyriaeth o bwysigrwydd dyledswyddau y cylch ein gelwir iddo yn awr, trwy y llythyr blaenorol, a lanwa ein henaid. Yn gwybod ein dyfrifoldeb i'r Duw hwnw a'ch pïa chwi, ac mai yn ol y dylan-

wad a gaiff ein dysgeidiaeth ar ei hufyddion, ein barnir, o flaen brawdle yr hwn a bwysa ein hysbrydoedd, ac a ddynoetha ddirgelion ein calonau, pa ysgrifell na chryna pan ei crafangir gan fysedd o gnawd ffaeledig? Pan yn gwybod tuhwnt i ddadl, fod eich dedwyddwch, eich gogoniant—eich tragywyddol oll yn dibynu ar gael eich dysgu yn ol cynghor Duw—yn gwybod am eich parodrwydd, a'ch ewyllysgarwch anghymharol i ufyddhau, ac y dysgwyliwch i'n hysgrifell gerfio ger eich gwydd eiriau y bywyd; o dan ddwys ystyriaeth, meddwn, o'r ffeithiau gwybodus hyn, pwy na arswydai? Pwy na theimlai i ddiosg ei *hunan* oddi am dano, ac i waeddi "Pwy sydd ddigonol i lanw y cylch hwn?" Pe caniateid i ni ymgynghori â'n teimladau ein hun, "atolwg i ti, cymmer ni yn esgusodol," fyddai greddfol iaith ein henaid; ac nid dim llai na'r ffaith o'n *cyfreithlon* osodiad yn y cylch hwn,—y ffaith wybodus o fod doethineb, medrusrwydd, cyfaddasrwydd, a chymhwysderau anghenrheidiol yn cael eu cyfranu, ynghyd ag ysbryd y swydd yn cael ei râd-roddi hefyd, o'r ffynnonell ddihysbydd o bob bendithion, gogyfer â'n anghen; ynghyd a'r grediniaeth sydd ynom y taer weddiwch chwithau gyda ni am y nerth gofynol, y cymhorth wrth raid, boed y galwad â fyddo, a'n gwrola i wisgo y wisg ryfelawg hon am danom unwaith etto yn ein gwlad, ac i sefyll yn saeth nôd etto i bicellau y gwrthfyddinoedd.

Un o brif egwyddorion eglwys Crist, yw fod dwyfol alwad, cyfreithlon ordeiniad, a didwylledd calon, fel rhaff dair caingc, yn alluog i godi i'r làn yr oll a hongiant wrthi; y gallwn ninnau gyflawni dyledswyddau pwysig y cylch hwn, nid trwy ddoethineb ddynol, na medrusrwydd personol yn annibynol ar râs Duw, ond y gallwn wneyd yr oll a ddysgwylir genym trwy Grist, yr hwn sydd yn ein nerthu, yw ein hyder.

Gwir ddymuniad ein calon—awydd ein henaid, yw achub ein hun, a chyfarwyddo ereill i achubiaeth yn nheyrnas Dduw. Diflas yw gwario ein hamser gwerthfawr yn ngwasanaeth y byd, gogoniant yr hwn a ddiflana; ei weniaith sydd dwyllodrus, ei harddwch sydd wrthuni, ei gyfeillach sydd fradwrus, a'i wobrwyon ydynt ddiwerth. Amser a dreulir yn ngwasanaeth Duw, yn unig a ddwg i ddyn wir bleser, gorfoledd parhaus, golud anchwiliadwy, a bywyd tragywyddol i'w mwynhau. Yn foddlon, ynte, ïe, yn orfoleddus ymroddwn i ewyllys yr Arglwydd, drwy ei Offeiriadaeth santaidd. Pan yn ddiddysgwyl, tra dros gan milltir oddiwrth ein teulu, nag unrhyw ddarpariaeth gyda ni, y galwyd arnom i fyned tuag wyth mil o filltiroedd, ar wythnos o rybydd, i ddyfod yma i'ch gwasanaethu chwi; gwir y teimlai llinynau ein calon mor dyned â thannau telyn, wedi ymgylymu am anwyl wraig ac anwyliaid ein hymysgaroedd,—a gwir hefyd y gelwid ni i'w gadael yn amgylchynedig gan farbariaid, ac i fod heb eu gweled am fwy o flwyddi, ond odid, nag a gawsom o ddyddiau o rybydd i'w gadael: ond

yr oedd mor wir â hyny hefyd, mai "Wele fi, danfon fi, yma neu acw, yn awr neu yn y man, i wneyd hyn neu hyna, neu beth a fynot, fel y mynot." oedd gwreiddiol iaith ein henaid; ni wybuom wrthddylanwad. Ac y mae mor sicr â hyna oll, mai yr un yw ein penderfyniad wedi dyfod yma. Mai ein hunig amcan fydd gwneuthur ewyllys yr hwn a'n danfonodd, gwged a wgo, ffromed a ffromo, gwêned a wêno, ein harwyddair diysgog fydd, "Dy ewyllys di o Dad o wneler." Gan na ddaethom cyn belled â hyn i wneyd ein hewyllys ein hun, dealler hefyd, nad eiddom ni y gyfraith a weinyddir, yr egwyddorion a ddysgir, na'r effeithiau a ddygir; ac felly ni feuir ni am amcanu gwneyd cyfiawnder didderbyn wyneb â phob un, Sant a phechadur, aelod a swyddog, gwrryw a benyw, boneddig a gwreng;—"yr enaid a becho hwnw a fydd marw," sydd gystal gwirionedd ag ydyw y bydd "y cyfiawn i fyw yn ol y cyfiawnder a wnaiff." Melys odiaeth i'r teimlad ydyw gweinyddu *trugaredd* i bawb o hyd; etto, chwerwder y wermod a ddrachtia yr hwn a'i gwnelo ar gost *cyfiawnder*, pan ei gelwir i yfed gwaddod ei gwpan ei hun. Pan yn dechreu ein gyrfa filwriaethus yn y cylch hwn, yr ydym yn awyddus i bawb ddeall hyn; mai tra y rhoddo ein Meistr ynom anadl i lefaru, a nerth i ysgifenu, ac hawl i weinidogaethu, ein penderfyniad yw bod yn elyn anghymmodol i elyn a phoenydiwr dyn, sef pechod ac anghyfiawnder, byddant lle y byddont, i mewn neu allan, aelod neu swyddog, tra yr Arglwydd fydd ini yn nerth, cyfiawnder fydd ein safon. Gan nad ydym hyd yn hyn wedi deall am un ffordd i achub pobl *yn* eu pechodau, gwelir mai yr *unig ffordd* i lesoli praidd ein gofal, a adawyd i ni, yw ymdrechu eu gwaredu *oddiwrth* eu pechodau, neu ysgaru eu pechodau oddiwrthynt hwy. Hyn gaiff fod ein prif amcan—maentynfa i'n holl ymdrechiadau. Frodyr, pan yn llefaru mor blaen â hyn, teimlwn nad ydym yn unigol yn y penderfyniad hwn; eithr credwn, ïe, *hyderwn*, nid heb seiliau, fod adleisiadau calonau cannoedd, os nid miloedd o honoch chwithau, yn uchel floeddio "Amen" yn hyn. Gwyddom oll, ar a wyddom ryw beth, mai hon yw yr unig ffordd i ddiogelwch, ac mai hyn yn unig a gorona ein llafur â'r llwyddiant a ddymunem. Gwyddom fod ein dedwyddwch yn gyferbyniol i'n purdeb a'n santeiddrwydd; a gwyddom hefyd, yn dda ddigon, fod ein perffeithiad yn y priodoleddau dwyfol hyn, yn gyferbyniol i'n diwydrwydd yn ein hymarferiad â hwy. Wel, a ni yn *gwybod* hyn oll, pa fath ryw ddynion a ddylem ni fod, mewn santaidd ymarweddiad a duwioldeb!

Caniatêwch i'ch cyd-was yn y winllan ddiweddaf hon, gyffroi eich meddyliau puraidd, i ddeall, i *gofio* beth yw, ac i GYFLAWNI y dyledswyddau arbenig arnom i'r byd, i'r Saint, i'n hunain, ac i'n Duw! Mae cyssylltiad anwahanol rhyngom â'r oll, a thragywyddol ganlyniadau i'n gweithredoedd, byddont dda byddont ddrwg. Y glorian yn yr hon eu pwysir, a'r gyfraith

wrth yr hon eu penderfynir, yw yr *efengyl*, yr hon a râd roddwyd i ni.

Gan ein bod ni yn gwybod fod goruchwyliaeth yr efengyl wedi ei hymddiried i ni, ynghyd a chyfran o'r offeiriadaeth santaidd i iawn weinyddu yn ei hordinhadau; a chan ein bod ni yn *gwybod* mai trwy ufydd-dod iddynt y derbyniasom ni bob bendithion, ac fod y cyfryw yn gyrhaeddadwy i'n cyd-ddynion, trwy y cyffelyb ufydd-dod; gan ein bod ni yn *gwybod* fod yr efengyl a bregethir genym, yn allu Duw er *iachawdwriaeth* i'w hufyddion; a'i bod hi, mor sicr â hyny, yn allu Duw er *condemniad* i'w hanufyddion. Gan hyny, gorfodir ni i WYBOD hefyd, nad bychain na distadl yw dyledswyddau na chyfrifoldeb y Saint. Dwys ystyriaeth o'n cyfrifoldeb a'n cymhello, ynte, i'r iawn gyflawniad o'n dyledswydd i ddysgu i'n cydddynion y gwirioneddau dwyfol a ymddiriedwyd i ni. Etto, nid y tafod yn unig yw y dysgawdwr effeithiolaf, nid digon ein geiriau, pe cynnwysent ddoethineb angylaidd, i achub na chondemnio ein hunain na'r byd; canys nid ar air yn unig y bydd byw dyn. *Esiamplau* cydfynedol â'r ddysgeidiaeth yw yr ysgol feistr galluocaf. Anhebgorol er llesâu ein hunain a'n gwrandawyr, yw fod yr olaf yn ffeithiau cydgordiol i brofi geirwiredd, ac i beri fod grym yn y blaenaf. Os na wnawn *ni* yn ol ein dysgeidiaeth ein hunain, pa fodd y dysgwyliwn i ereill wneyd hyny? Os nad oes digon o rym ynddi i'n gorfodi ni i'w gwneyd hi, pa fodd y dichon fod ynddi allu digonol i gael yr effaith ddymunol ar ereill? Fel efydd yn tincian yn nghlustiau ereill, fydd dysgeidiaeth yr hwn nas gwnelo ei hunan, yn ddiau.

Mor sicr â bod ffydd yn cael ei chenedlu yn y gwrandawwr trwy glywed gair Duw o enau ei weision,—mor sicr ag mai ei heffeithiau yw edifeirwch dwys o herwydd eu pechodau,—mor sicr ag mai trwy iawn fedyddiad y ceir maddeuant pechodau, —ac mor sicr ag mai trwy arddodiad dwylaw y derbynir yr Ysbryd Glân; y mae mor ddiddadl â hyny hefyd, mai trwy ufydd-dod i *bob gair* a DDAW allan o enau yr Arglwydd trwy ei weision,—mai yn yr ymwrthodiad â phob drwg, pob pechod, anwiredd ac anghyfiawnder, a phob peth ag sydd yn groes i'w ei ewyllys, yr *arosa* y Dyddanydd hwnw gyda ni, ac y cynnydda yn ei ddylanwadau santeiddiawl. Mor rhesymol ag y dysgwyliwn ni gael ein perffeithio trwyddo, i fod yn addas i fwynhau cymdeithas y nefol lu yn y nefolion leoedd; mor resymol â hyny y dysgwylia ein cymmydogion ninnau, a'r byd, a'r nefoedd hefyd, fod effeithiau purawl yn awr yn arddangosiadol iddynt hwy, yn holl weithredoedd y Saint! A gânt hwy eu siomi genym Saint? Os siomir hwy yn ein gweithredoedd, oferwaith iddynt yr ymddangosa ein geiriau hefyd, cofiwn! Mae cysondeb, rhesymoldeb, ysgrythyroldeb, a dwyfoldeb ein hegwyddorion yn anwrthwynebol, ac yn anorchfygol i holl ddoethineb ddynol yr oes; nid oes a'i lluddia, nac a ladd ei

dylanwad, ond ymddygiadau anghydffurfiol ei phroffeswyr. A fydd i'r rhai a dderbyniasant yr oruchwyliaeth ogoneddusa—oraclau y nefoedd—allweddau iachawdwriaeth ein cyd-oeswyr, i'w cam-ddefnyddio a'u dibrisio trwy ein hanghydffurfiad â hwy? Na ato y Duw grasol a'i rhoes i ni! *Esiamplau*, ynte, gyfeillion anwyl a fyddo, ein tystion—GWEITHREDOEDD duwiol a fyddo ein nodweddau, a'n BUCHEDDAU a bregetho yn uchel mai plant y goleuni ydym! Pregethwn fwy, addawwn fwy bendithion, a phroffeswn fwy rhoddion nag a wna neb ereill drwy y byd; ac felly dylai fod, ïe, gwae ni os na fydd ein duwioldeb yn rhagori ar yr eiddo pawb ereill. Yn lle bod ofnau ar yr henuriaid, pan safont uwch ben dynion i dystiolaethu am y bendithion mawrion, a'r rhagorfreintiau a fwynheir yn ein heglwys, i'r byd ddannod iddynt frychau mewn cymmeriadau, ac edliw iddynt feiau y Saint, dylai santeiddrwydd a dihalogrwydd, sêl a diwydrwydd y Saint, fod yn nerth iddynt,—yn *nodau* at ba rai y gallant gyfeirio golygon y byd—FFEITHIAU i brofi eu gwirionedd, ac i herio efelychiad a chystadledd. Credwn yn ddiysgog, nad oes ond un peth yn rhwystro i'n crefydd anwyl redeg a llwyddo trwy ein gwlad, a bod yn anorchfygol i'r byd ac uffern hefyd, a'r un peth hwnw, mewn gair, yw, na bai y Saint yn byw—*gwneyd*, a GWEITHIO eu crefydd i sylw eu cymmydogion lle byddont! Gwyddoch eich dyledswyddau, Saint anwyl! wel, a gawn ni genych eu cofio, a'u *gweuthur*, pob un drosto ei hun? Beth yw eich atebiad? croniclir ef yn y nef! Ein penderfyniad ni yw eu gwneyd, tra y nefoedd a'n galluoga; a'n penderfyniad yw hefyd, ac nid y ni yn unig, ond gobeithiwn mai penderfyniad diysgog ein holl frodyr yn yr offeiriadaeth yw, nad oes na rhan na chyfran, aelodaeth na chyssylltiad â ni i neb, ond i'r sawl a ymdrechant gadw gorchymynion Duw,—y sawl a WEITHIANT allan eu proffes yn ddiragrith. *(I'w barhau.)*

---

## DEGFED EPISTOL CYFFREDINOL

*Llywyddiaeth Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, at y Saint gwasgaredig ar led trwy y byd ;* YN ANERCH:—

GARIADUS FRODYR,—Anfonwn yr Epistol hwn yn awr atoch, trwy dystiolaethu ein bod yn eich dal bob amser mewn bywiog goffadwriaeth yn ein calonau, ac o flaen gorseddfainc ein Tad yn y nef, gan gydnabod yn ostyngedig, fod daioni ein Duw etto yn parhau i ymhelaethu tuag at ei Israel ymgasgliedig, yn ffrwythlondeb y tymmorau a aethant heibio, ynghyd â llawer cadarnhad i ffydd y cyfryw ag a ddyfal gadwant ei orchymynion yn ddianwadal.

Llawer a werthfawrogant y fraint o'u mabwysiad i deyrnas ogoneddus ein Pryniawdwr, ac hefyd o gyfammodau yr addewid trwy yr hon y gwneir y rhai ffyddlon yn gyfranogion o'r ddwyfol natur; eu heddwch, gan hyny, sydd ehelaeth, a'u llwybr sydd eisoes yn llewyrchu yn ddysclaerach yn mhob cam dilynol o'u taith hyfrydlawn, ac etto neillduol. Gan ymdrechu cyd-fyned ag arwyddion dadguddiadol yr amserau, a rhoddi benthyg ein clustiau i wrandaw sibrwd yr Ysbryd Glân, a chyda llygaid wedi eu sefydlu yn wyliadwrus ar bob symudiadau, a ddichon mewn unrhyw ffordd gynnorthwyo i ddiongli amcanion ein Tad, mewn perthynas i waith mawr y Dyddiau Diweddaf, llawenheir ein calonau yn fynych, gyda gwawr a dysclaerdeb cynnyddol y dydd a hir addawyd, er adferiad gweddillion Jacob, a chyflawn orpheniad Tŷ yr Arglwydd yn mhen y mynyddoedd.

Cyfarchwylwyr y boreuol oleuni, yn gyffredin a orweddant yn dra isel, fel nad allo unrhyw wrthddrych canfyddadwy uwchlaw iddynt, yn hawdd ddianc ymchwiliad eu llygaid gwyliadwrus. Yr addfwyn a'r gostyngedig o galon, ydynt bob amser yn ffyddlon. Iddynt *hwy* mae ymdeithiad gwaith y Tad yn eithaf digon cyflym. Iddynt hwy nis gellid gwellhau y gwaith, er iddo fod yn gyflymach neu yn arafach. Paham? O herwydd eu bod hwy yn byw trwy eu ffydd yn mhob gair sydd yn dyfod allan o enau Duw. Ymwadasant hwy â'u cyfiawnderau eu hunain, gan wybod nas gallent hwy o honynt eu hunain, ragolygu y diwedd o'r dechreuad, ac o ganlyniad farnu am bethau Duw, oddigerth trwy Ysbryd Duw. Nid yw y byd trwy ddoethineb yn adnabod Duw; ond y mae y Sant addfwyn, trwy Ysbryd Duw, yn barnu pob peth. Pwy a ddichon fynegi heb Ysbryd Duw, neu ddadguddiadau uniongyrchol oddi uchod, pa bryd a pha le y mae yn amser i adeiladu ac i blanu, a pha un o ddau neu lawer o bethau a lwydda? Pwy a all adrodd pa mor agos y dichon afiechyd anrheithiedig fod, neu newyn gwasgedig, neu ymraniadau mawrion y cenedloedd mewn rhyfel? Yr atebiad gwirioneddol i'r gofyniadau hyn ydyw, mai Efe yn unig, yr Hwn sydd yn gwybod y diwedd er y dechreuad, a'r cyfryw ag a apwyntir ganddo Ef, i dderbyn amlygiadau o'u ewyllys Ef. Mae teyrnas Dduw yn dyfod heb ddysgwyliad.

Ar yr 20fed o Ebrill diweddaf, ymwelodd y Llywodraethwr â rhai o'r sefydliadau deheuol, aeth heibio i Palmyra, tref newydd a darddodd i fyny yn yr ystod byr o ychydig wythnosau, ac arosodd yn Payson a Nephi yn ei daith.

Ar y 26ain o'r un mis, cychwynodd ein brodyr, A. Lyman a C. C. Rich, i San Bernardino.

Ar y 27ain, rhybyddiwyd y brodyr yn sefydliad Allred i adeiladu amddiffynfa a gwarchgae anifeiliaid, a phrofodd y dygwyddiadau canlynol yr anghenrheidrwydd o'r rhybudd.

Er na ddychwelodd y Llywyddiaeth adref hyd yr 2il yn Mai, etto cyflawnwyd y daith trwy ystod cryn lawer o rew, cenllysg, ac eira; ac yn *Spanish Fork*, gorlifodd y dyfroedd eu terfynau arferol i'r fath raddau, fel mai rhaid oedd cymmeryd y y pedrolfeni dros y llif gan ddwylaw y brodyr. Rhuthrodd y dyfroedd i lawr y mynyddoedd, yn ystod y tymmor a aeth heibio, gyda mwy cyflawnder nag mewn unrhyw flwyddyn flaenorol, er ys pan yr ymsefydlodd y Saint yn y dyffryn.

Ar y 7fed yn Mai, cafodd y lleng milwyr Nauvoo ymddangosfa gyffredinol; ac mor ddiweddar â'r 16eg o'r mis, yr oedd y rhew yn ddigon tost i ladd y cloron a'r gwinwydd. Ar y 29ain, cyrhaeddodd y Dirprwywr i'r gymmanfa seneddol, yr Anrhydeddus J. M. Bernhisel, Ddinas y Llyn Halen Fawr, yn siriol a bendithiol.

Ar y 1af o Fehefin, cadwodd llywodraeth deddfroddol Utah ei gwyl flynyddol, yr hwn a ddygwyddodd fod yn ddydd genedigaeth y Llywydd B. Young, trwy Ddawnsfa seneddol; ac aethant i eisteddfod gyhoeddus ar yr 2il a'r 3ydd. Yn yr ystod hwnw, y dyfroedd a ddaethant yn dra uchel, gan waethygu pethau mewn llawer o leoedd yn y ddinas

Ar y 12fed, cyrhaeddodd yr orymdaith ymfudol gyntaf o'r Missouri, tra yr ydoedd dyfroedd y dyffryn yn hynod o uchel, yn gwneyd niwed mawr, gan achosi gwneyd porthfa ar draws afon yr Iorddonen, yn herwydd colli y brif bont. Cottonwood fawr a wnaed yn anhyffordd yn yr un amser, tra yr oedd yr eira yn bymtheg troedfedd ei ddyfnder yn *North Kanyon*; ac er mor ddyeithr y dichon hyny ymddangos, i breswylwyr rhai gwledydd, cynauafwyd cae o wenith ar yr 2?ain, a braidd yn nghymmydogaeth uniongyrchol y fath faintiolaeth aruthrol o eira mynyddig. Ond ni bu i eira mynyddig, na rhyferthwy

dychrynllyd o ddwfr, gyda tharanau a chenllysg yn profi eu ffyrnigrwydd ar yr ymfudwyr yn y mynyddoedd, gan ysgubo ymaith eu hanifeiliaid cludo beichiau, allu etto rwystro yr ymfudydd aur-geisiol, rhag dilyn ei hoff eilun drwy anhawsderau yn Ngwanwyn y flwyddyn, ag ydynt yn fwy rhwystrau yn aml, ac yn fwy peryglus i iechyd a llwyddiant, nâ'r hyn a brawf y Saint yn mis Hydref.

Cafodd ein pobl ein hunain brofi colled am rai anifeiliaid, a'r anghyfleusdra o nosweithiau oerllyd, ac weithiau o fyr ymborth, cyn y gellid cludo digonolrwydd iddynt ar y gwastadedd; er hyny, ni ellir braidd cyfrif eu palliant fel yn ddyeithr, nag hyd y nod yn dost. Yn y cyffredin, gwellasant yn fawr o ran iechyd, heb y caethwasanaeth poenus o gymmeryd moddion meddygol, neu dalu gofyn-ysgrif meddyg. Ac yn y cyffredin dysgasant trwy y daith i ddodi ymaith y gloddesta a'r gormodedd, y gofynir mewn rhai gwledydd ac amgylchiadau, fywyd o gaethwasanaeth i'w diwallu.

Cyrhaeddodd y mwyafrif o'n hymfydwyr yma dros y gwastadedd; y mae y cwmni olaf dan ofal y Cadben John Brown, o fewn ychydig filltiroedd i'r ddinas. Canfyddasant y daith ardirol yn dra iachus, ac ni chyfarfuasant ag unrhyw rwystrau difrifol ar eu hynt.

*(I'w orphen yn ein nesaf.)*

*Cyf.* Robyn Ddu.

---

## NEWYDDION O DDINAS Y LLYN HALEN.

Wedi i'r rhan flaenorol o'r Udgorn fyned i'r wasg, rhoddodd ein caredig frawd Thomas Jeremy y *Deseret News*, dyddiedig Hyd. 15, 1853, yn ein llaw; o hono lloffwn ychydig dywysenau o rawn rhagorol, yn unig y tro hwn. Ni ddysgwylir i ni ddweyd llawer wedi derbyn y pethau cyfeiriedig. Nid oes ynom ni hyd yn hyn, ddigon o hunanoldeb i gredu y gallwn roddi gwell amrywiaeth i'n darllenwyr, nâ'r hyn a geir gan y Brif Lywyddiaeth. Darllener yr Epistol yn eglwysi y Saint, a gwneler yn ei ol. I ni archwaetha mor flasus ag yw dwfr oer i enaid sychedig. Heblaw y newyddion dyddorol a gynnwysa, tystia Ysbryd y gwirionedd i ni, mai gwneuthur ewyllys Duw

yw ewyllys ein llywyddion, ac mai eu hawydd penaf hwy, fel ninnau, yw cael gan yr holl rai a broffesant fod yn Saint, i WEITHIO ALLAN EU PROFFES!

Dywed Gol. y "News" iddo dderbyn gan H. M. Alexander, un *squash*, tebyg i bwmpkin, yn pwyso 105 pwys; gan D. H. Miller, o Swydd Davis, bump o gloron *(pytatws)* yn pwyso 20½ pwys. Cosyn o gaws yn anrheg gan y chwiorydd o Ddinas MANTI, yn pwyso tua 85 pwys, yngbyd ag amrywiaeth o *beaches*, a ffrwythau addfed ereill. Parhaodd y tywydd yn hyfryd, heb ddim rhew yn y Ddinas, hyd y dyddiad uchod. Yr oedd yr oll o'r ymfudwyr wedi cyrhaedd pen eu taith pryd hyny, oddieithr osgordd neu ddwy ag oeddynt yn gyfagos, ac wedi cael rhwyddineb rhagorol. MURIAU Y DEML arddechog a fyddant ar lán yn gyflym; a'r mur oddiamgylch y Ddinas oedd ddigon amlwg i'w weled o bell. Y mae undeb a chyd-weithrediad hynod yn mhlith yr holl Saint, a phenderfyniad unfrydol i gario pob cynghor i weithrediad effeithiol.

---

## GAIR AT YR HOLL SAINT.

CREFWN sylw manwl pawb at, a chyd-ymegnïad ein cyd-weithwyr, i gario i weithrediad effeithiol, yr holl ddyledswyddau a osodir arnom yn y llythyr apwyntiad, yn nechreu y rhifyn hwn! Na foddloned neb o honom ar lai nâ hollol gydymffurfiad ag ef.

Hefyd, gyda phleser coffhawn y Saint, yn enwedig y Llywyddion, o barthed i'w dyledswyddau, a'u braint, tuag at ein Hybarch gyn-lywydd. Am amryw flynyddau weithian, â'i holl amser gwasanaethodd chwi, tra ereill lawer, a ennillasant ddigon i'w cludo i Seion er ys llawer dydd. Dyma yr amser dedwydd iddo ef wrth y drws, pan y caiff ei enaid yntau deimlo yn rhydd o gaethiwed Babel. Nid oes ond amser byr etto, i chwi gyfranu at ei ymfudiaeth ef a'i deulu. Gwnewch frys, ynte, frodyr, gan gofio mai â pha fesur y mesuroch yr adfesurir i chwithau. Eich haelioni yn hyn a deilyngo i chwi fendithion y nef, a llawenydd calon, ar ymadawiad eich parchus Lywydd ymadawedig, ac hyd byth bythoedd.

## "YR ARWEINYDD I SEION."

DYNA yw enw Traethawd, a fwriadwn ei gael allan o'r wasg, cyn y cychwyna yr ymfudwyr Cymreig eleni, os ceir digon o gefnogaeth.

Cynnwysa bob cyfarwyddiadau a ystyria ei Awdwr yn anghenrheidiol, o'r darpariadau cyntaf, yn Nghymru, hyd i ben y daith yn Seion. Dosparthir yr Ymfudwyr yn *dri* dosparth; sef yn gyntaf, y cyfoethogion; yn ail, y cwmpeini £13; ac yn drydydd, y rhai a ânt gyda y Gymdeithas Ymfudol. Caiff pob dosparth gyfarwyddyd ynddo, o barthed i ddillad gwrryw, benyw, a phlant, o'r coryn i'r sawdl;—celfi, llestri, &c., &c. Rhoddir ynddo gynghorion hefyd i wahanol grefftwyr, yn eu darpariadau:—pa fwydydd i'w darparu, a'r lleoedd goreu i'w prynu; y modd i ymddwyn yn Liverpool, a pha bethau a ddylid eu prynu yno at wasanaeth ar y fordaith ac yn mhellach. Pa fodd i ymddwyn yn y llong ar hyd y fordaith;—bwyta, gwisgo, &c., &c. Cynghorion anghenrheidiol pan gyrhaedder *New Orleans*, ac yn yr agerfadau ar hyd yr afonydd Americanaidd. Y modd i ymddwyn yn St. Louis, yn ngwyneb afiechyd, lladron, a gwaeth, sef gwrthgilwyr twyllodrus! Pa bethau i brynu yno, gogyfer â'r daith yn y blaen, ac i fod o ddefnydd wedi cyrhaedd y Dyffryn. Y modd i adnabod yr arian Americanaidd, ynghyd â chyfarwyddiadau manwl i ddewis anifeiliaid corniog, a wageni,—y ffordd oreu i ddysgu ieuo y blaenaf, a'u dofi at wasanaeth, a'r dull goreu i'w gyru ar hyd y daith: faint o bwysau sydd weddus i bob pâr o ychain,—pa fodd i ddeall pan fyddo yr iau neu y ddôl yn rhy fach neu yn rhy fawr, ac i'w gwella:—adnabyddiad o, a gwellhad yr *Hollow Horn*, y *Fouls*, a chlefydau ereill, cyffredin i'r anifeiliaid ar y daith;—pa fodd i wylied y gwersyll a'r anifeiliaid yn y nos, rhag yr Indiaid,—y *Stampedes*, a'r modd yw rhagflaenu;—pa fodd i wneyd *correl* o'r wageni, neu wersyllu;—tân ar y *praires*, y perygl o hono, a'r modd i'w ochelyd;—pob cyfarwyddiadau i helwyr,—y drylliau goreu, a'r lle eu ceir,—y *powder*, &c., &c., a'r modd goreu at gadw yr helwriaeth yn ddilwgr. Y modd i yru a gofalu am geffylau ar y daith: desgrifiad o "glefyd y chwip," a'i feddyginiaeth sicr! A llawer yn ychwaneg na hyn yna, a ddyweda yr "*Arweinydd*" wrthych; hysbysa chwi hefyd pa le y cewch

ddwfr, porfa, a thanwydd i wersyllu bob dydd, os gwrandewch arno;—hefyd pa le nad oes y cyfryw bethau, fel na'ch siomer pan ddelo y nos arnoch. O ba fanau y dylech gârio dwfr gyda chwi;—pa le y mae dyfroedd gwenwynig, &c., &c. Hysbysa i chwi hefyd y pellder, i'r filltir, sydd o Council Bluffs i'r fan lle byddoch, a pha sawl milltir a fydd rhyngoch a phen eich taith o'r manau hyny. Yn fyr, ateba yr *Arweinydd* bob gofyniad braidd ag y bydd anghen am ei ateb; ac arweinia ei ufyddion i Seion, yn waredigol o'r amrywiol ddygwyddiadau, ag ydynt annocheladwy i'r anmhrofiadol.—*Ei bris*, ymdrechwn hyd y byddo yn bosibl, iddo beidio bod dros *chwe cheiniog*. Anfoner am dano drwy Ddosparthwyr y Cynnadleddau yn ddioed, gan na fwriadwn argraffu ond ychydig nifer.

---

## APWYNTIADAU.

Bydded hysbys i'r Saint yn Nghymru ein bod ni wedi rhyddhau yr Henuriaid Thomas Jeremy a Daniel Daniels, o fod yn Fugeiliaid, ac wedi eu dewis yn gynghorwyr i ni yn y Brif Lywyddiaeth Gymreig; ac fel y cyfryw, dymunwn ar y Saint eu derbyn, ufyddhau i'w cynghorion, a'u bendithio hwythau trwy eu ffydd a'u gweddiau, a thrwy ddiwallu eu hanghenrheidiau. Yr Arglwydd a'u cynnysgaetho ag Ysbryd eu swydd, a'u bendithio, ac a'u gwnelont yn fendithiol i bawb lle yr elont.

Hefyd, dewiswyd yr Henuriad William Sims, i fod yn Brif Ddosparthwr llyfrau Cymraeg a Saesneg, yn Nghynnadledd Ddwyreiniol Morganwg. Cyfarwydder i 14, *Castle Street*, *Merthyr*.

D. Jones.

Llywydd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn Nghymru.

---

## UDGORN SEION.

Dos Udgorn, dewis adgan—i frodyr  
Dy hyfrydol amcan;  
Rhinwedd addysg rho'n ddyddan,  
I deulu Duw,—o law Dan.

CADBEN JONES, union seinied—ei deg iaith,
Trwy dy gorn, i'w glywed;
A mawr lwydd fo mwy ar led,
Yn ei iawngraff uniongred.

Yn ddwysgall un addysga—y werin,
Mewn gwiredd llawn mwyndra:—
Blwyddyn newydd, dydd nawdd da,—dwg weithion,
I lon drigolion daear gwalia. ROBYN DDU, ERYRI.

---

## HYSBYSIADAU, &c.

O DDIFFYG lle, rhaid i ni adael Hanes Cymmanfa Gyffredinol Dinas y Llyn Halen, ynghyd a Chofnodion Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg, hyd y rhifyn nesaf.

DYSGWYLIR y Cynnrychioliad hanner blynyddol i mewn yn ddioed. Hysbysir yn brydlawn pa bryd bydd yr ymfudiad Cymreig.

---

DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU, AM Y CHWARTER YN TERFYNU RHAGFYR 31, 1853.

SIR Fynwy, £26 7s 9¾c; Sir Frycheiniog, £1 2s 8c; Gorllewin Morganwg, £83 2s 9½c; Llanelli, £20 18s 5c; Caerfyrddin, £7 4s 5¼c; Sir Aberteifi, £7 13s 4¾c; Sir Feirionydd, £6 19s 4c; Sir Fflint, £16 3s 2½c; Dyffryn Conwy, £3 16s 7¾c; Sir Ddinbych, £11 12s 8¼c; Penfro Ogleddol, £4 13s 10c; Sir Fôn, £11 18s 6¼c; Cangen Gymreig Liverpool, £2 6s 11c; Morganwg Ddwyr., £122 2s 8¾c.—Cyfanswm, £332 12s 10¾c.

TALIADAU O ION. 2 HYD ION. 5.—Sir Fflint, £1 5s 6c; Morganwg Ddwyreiniol, £38 18s 8c.—Cyfanswm, £40 4s 2.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street*, *Merthyr-Tydfil*.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 2.] IONAWR 14, 1854. [CYF. VII.


## DEGFED EPISTOL CYFFREDINOL

*Llywyddiaeth Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, at y Saint gwasgaredig ar led trwy y byd.*

[Parhad o dud. 16.]

CYFLAWNWYD peth difrodaeth ar ein dinasoedd, gan y gyfran fwyaf aflywodraethol o'r Indiaid, yr hyn obeithir a attalir heb unrhyw alanastra difrifol ar ran preswylwyr Tiriogaeth Utah. Ar y 19eg yn Ngorphenaf, saethwyd y brawd Creel, tra yn sefyll gwarchodfa yn Payson, gan Indiad perthynol i fintai Walker; er yr amser hwnw, lladdwyd ychydig ereill gan yr Indiaid; saethwyd dau tra yn marchogaeth brys-genadwri o ddinas Filmore. Ond frodyr, na adawer i'n sylw archolii ein meddyliau trwy y toriadau allan hyn, a gyflawnir gan y gwedd illion anwar a'n hamgylchynant. Mae gan yr Arglwydd, ein Prynwr, ryw ddyben i'w wasanaethu trwy yr hir ddiraddiad, â'r rhai a fawr gamdrinir yn fynych, ddisgynyddion hyn i Abraham, a phan y dysgo y Saint i wneyd cystadl â Laman, mewn cyfartalwch i'w gwybodaeth, a'u hir brofiad, gallwn yn resymol ddysgwyl ychydig lai o anhawsdra o'r ffynnonell hono.

Dichon y cerydd hwn oddiwrth ein gelynion, brofi yn amserol rybudd a lles i lawer, i ymddeffroi o'u hun-glwyf a'u hesgeulusdod o gynghor *pendant* ac *amserol*, tra nad yw aberthau uniongyrchol, ac efallai didrosedd eu creulondeb wedi cwympo i'r ddaear heb sylw ein Nefol Dad. Dichon i'r ddys-

gyblaeth rymus, yr hon y caniateir i'n gelynion ei bwrw ar y Saint, megys corff, am esgeulusdod o'u hiachawdwriaeth, weithiau gyfranu at eu cadw hwynt oddiwrth gyfeiliornadau, ag ydynt lawer mwy i'w harswydo, nâ'r ceryddon a amcanwyd i'w rhag-rybuddio hwynt. Ni ddichon addewidion Duw, mewn perthynas i adferiad Israel ballu, ac ni ddylai dim droi ein ffydd a'n gweddiau oddiwrth ddysgwyliad parhaus am eu cyflawniad.

Chwi a ganfyddwch trwy gyfeirio at gofnodion ein Cymmanfa Gyffredinol ddiweddaf, fod yr amser wedi dyfod i surdoes iachawdwriaeth gael ei gynnyg i'r gweddillion a breswyliant gyfandir yr America. Tra mae Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiaf Diweddaf, yn cludo yr Efengyl i bob cyfran bwysig a phell o breswylwyr y ddaear, heb eithrio unrhyw genedl, pa mor bell bynag, nis gallwn selio i fyny ein tystiolaeth mewn perthynas i feibion difreiniad Abraham, ar ein cyffiniau uniongyrchol, heb gynnyg iddynt hwy yr unrhyw Efenyl ogoneddus, i'r hon yr ufyddhaodd eu tadau mor addfwyn ac ardderchog yn nydd eu hymweliad: ond na fydded i'r henuriaid ar led laesu eu dwylaw oblegid hyn, canys os erlidiant chwi mewn un genedl, a'ch taflu allan, ewch i'r drws cyntaf a ymagoro yn y genedl nesaf a'ch derbynio chwi; ac na arbedwch eich ymdrechiadau, o godiad i fachludiad haul, hyd nes i bob clust gaffael y cyfleusdra o glywed efengyl yr iachawdwriáeth.

Parotöadau cyffrous ydynt yn awr mewn gweithrediad i furio i mewn y dinasoedd, ynghyd a'r holl sefydliadau o bwys trwy y Diriogaeth. Y deuddeg Apostolion, gydag ychydig eithriad, a dderbyniasant yn ddiweddar benodiadau pwysig, i gymmeryd gofal o ddosparthiadau go fawrion o'r Diriogaeth, ac a ânt i faes eu cenadiaethau mor fuan ag y bydd yn gyfleus. A chynnyddir y rhwyddineb i addysgu, i'r holl ddinasoedd a'r sefydliadau yn yr holl Diriogaeth, trwy i'r Deuddeg weinyddu yn bersonol yn mhlith y bobl a breswyliant yn y gwahanol sefydliadau.

Bwriedir gwneyd ymegnïadau cynnyddol at gasglu y Saint o diroedd pellenig: a thra y gellir ac y bydd i ryw foddion gartref, gael eu hebgor at gynnorthwyo Saint pellenig i ymgasglu i'r lleoedd apwyntiedig am ddiogelwch, dros ac uwch law y draul o'r ymegnïadau a wneir at adeiladu a rhagfurio

dinasoedd a threfydd, ac anfon allan nifer fwy o genadon, nyni etto a ddygwn ar gof i'r Saint yn Lloegr a lleoedd ereill, ag y sydd ganddynt oruchwyliaeth dros gyfran o drysorau daearol, mai yn awr y gallant fwynhau y fraint o gynnorthwyo y cyfryw ar na allant gynnorthwyo eu hunain, ïe, tlodion yr Arglwydd, a derbyn eu gwobr yn adgyfodiad y cyfiawnion.

Yn ddiweddaf, frodyr, na laeswch eich dwylaw, eithr byddwch ddyfal i wneyd gyda'ch gallu, waith da yn mhob galwedigaeth gyfiawn a chanmoladwy, a phrofwch eich hunain, trwy gofleidio pob cyfleusdra i fod yn ddefnyddiol, a mawrhewch eich galwedigaethau, fel eich cyfrifer yn deilwng o fywyd tragywyddol. Byddwch fyw eich crefydd mor amlwg ac anammheuol, fel y galloch chwi deimlo ei gwirioneddau heddychlawn a phuredig, a'i nerth hi, rhag gafaelyd o demtasiynau arnoch chwi, na fyddo genych allu i'w gwrthsefyll, ac y colloch yr hyn yr ymddangosid i chwi ei ennill. Na adewch i'ch bywydau fod y fath ag y dichon i'ch calonau eich hunain eich condemnio, rhag iddo Ef, yr Hwn sydd fwy nâ'ch calonau, ddwyn cyhuddiadau yn eich erbyn, a fyddo yn llawer lliosocach, a mwy nag a dybiodd meddwl niwliog a thywyll.

Cofiwch yn feunyddiol, anwyl frodyr, os dymunwch fod yn gyfiawn, fel eich Tad nefol, fod ei gyfiawnder ef yn dyfod trwy Ddadguddiad, trwy eich ffydd chwi. Na fyddwch foddlon gyda dim yn fyr o ewyllys ddadguddiedig eich nefol Dad; o fod wedi eich adeiladu ar y sylfaen hon; ac ni fydd y dylifoedd o gyfeiliornad a themtasiwn sydd raid eu dyfod ar yr holl rai hyny a breswyliant ar y ddaear, yn alluog i'ch dadymchwelyd chwi.

Cofiwch addysgiadau eich Prophwydi Joseph a Brigham, ac ufyddhewch iddynt hwy. Meddyliwch am addysgiadau cofnodion y Gymmanfa a ddeuant gyda'r Epistol hwn. Rhodiwch yn ostyngedig gerbron eich Tad nefol, a gwnewch ei ewyllys Ef. Os oes gan lywyddiaeth yr amrywiol gangenau yn y gwahanol genedloedd, y cyfleusdra o anfon y Saint yn mlaen o'r trofanau poethion i San Pedro, neu San Diego, Cal., anfonwch hwynt; gadawer iddynt fyned yn uniongyrchol at y llywyddion Amasa Lyman a Charles C. Rich, San Bernardino, a chymmeryd eu cynghor, a bydd i Dduw, ein Tad nefol, roddi i chwi ddoethineb yn mhob pethau, henuriaid, chwiorydd a chyf-

eillion, fel y byddo i chwi ein cyfarfod ni yn y deyrnas nefol, ydyw gweddi eich brodyr,

BRIGHAM YOUNG.
HEBER C. KIMBALL.
W. RICHARDS.

Dinas y Llyn Halen Fawr, Hydref 13, 1853

[A gyfieithwyd gan Robyn Ddu, Eryri.]

---

## ANERCHIAD LLYWYDDOL.

[Parhad o dud. 13.]

EGLWYS DDUW a ddylai fod y *faniar* gyhoeddus i'r byd,—arddangosiadol o fawreddog amcanion y nef, a'r FFAITH argyhoeddiadol i bawb o'i dwyfoldeb; ei haelodau a ddylent fod yn arwyddion a rhyfeddodau eglurhaol i'r byd, o fawr allu eu crefydd; mwy gwyrthiol yn eu heffeithiau ar eu gweithredoedd, eu cariad, eu haddfwynder, gostyngeiddrwydd, cymmwynasgarwch, gonestrwydd, cyfiawnder, sêl, a phob rhinwedd arall, nag a fu un math o wyrthiau ereill erioed. Gwyrthiol i fyd llygredig ac anwybodus a ddylai fod holl ymddygiadau proffeswyr crefydd wyrthiol! Esiamplau annheilwng o efelychiad a andwyodd y byd er holl ymffrost doethineb dynol draddodiadau. Esiamplau teilwng o efelychiad gan y Saint, a'i hadfera yn ol er gwaethaf pob gwrthwynebydd. Pe patrwm fyddem, megys y dylem fod i'r byd, mewn gwisg, mewn bwyd, mewn byw, mewn gair a gweithred, mewn gwylio a gweddio, mewn cariad a ffyddlondeb, mewn gweithredoedd yn gystal a ffydd, pregethem i'r byd ddarlith anghymarol, i'r ymchwiliwr esiampl, ac i wlad Gristionogol wers well nag a allodd holl ddoethineb colegawl a hyawdledd holl bwlpudau, er ymgais oesawl, ei dysgu! At y gorchwyl, ynte, O Saint, yn fwy penderfynol nag erioed, a llwyddo wnawn, mae nerth yn ol y dydd i ni i'w gael; gwyddom hyn, a gwyddom mai nyni a ddylai fod goleuni y byd. Goleuo wnelo ein goleuadau nes swyno serch a denu golygon gonestion byd i rodio wrth oleu dydd yr efengyl hon, nes mwynhau cyfiawnder goleuni tanbeidiawl HAUL Y CYFIAWNDER, pan dewyno ar ei gyhydedd ei hun! Duwioldeb ymarferol y Saint yw testun ein llawenydd parhaus; rhagoroldeb eu rhinweddau canfyddadwy ar yr eiddo pawb ereill, yw ein had-daliad am yr oll a wnawn iddynt; etto tra y mae cymmaint o le i welliadau ynddynt, tra y gellir yn rhesymol ddysgwyl cynnyddiant cyflymach, attalia yr ystyriaeth alarus ni rhag y gorfoledd a ddymunem fwynhau. Paham nad yw mor ddyledus arbenig ar *bob* un i ogoneddu ei grefydd, trwy ei holl weithredoedd cyd-ymffurfiol yn ol ei gylch, ag ydyw felly ar *unrhyw un?* Paham nad arswyda *pob* un

ynte, rhag y canlyniadau o warthruddo y grefydd a ystyria ei frodyr yn werthfawrocach nâ'r byd a'i drysorau, trwy eu hanghydffurfiad?

FRODYR LLYWYDDOL AR GYNNADLEDDAU,—Cyd-ymdrechwch yn y fyddin filwriaethus, orchfygol ddiamheuol i fod. I chwithau yr ymddiriedwyd llawer; genych y rhesymol ddysgwylir llawer; ïe, llawer o ddoethineb i iawn drefnu, llawer o ddylanwad i gario y mesurau i weithrediad effeithiol; llawer o addfwynder a gostyngeiddrwydd; llawer o daerineb i berswadio y cyndyn i ufydd-dod; llawer o benderfyniad i anrhydeddu y rheolau dyscyblaethol a roddwyd i chwi; llawer o sêl a ffyddlondeb i adeiladu Teyrnas Dduw yn eich cylchoedd, ac i addurno praidd eich gofal â phob rhinweddau dewisol gan y Prif Fugail. Frodyr, dim llai nâ gwerth eneidiau anfarwol a ymddiriedwyd i chwi! Eich holl esiamplau a deilyngo efelychiad gan bob un? Cariad! *cariad* eich Meistr dwyfol fyddo achos cynhyrfiol pob ysgogiad o'ch eiddo tuag at ei braidd Ef. A rhaffau CARIAD tynwch hwynt, nes y cyflym redant ar eich hol ar hyd llwybrau uniondeb, cyfiawnder, purdeb, a duwioldeb. CARIAD at eneidiau dynion fyddo y ffynnonell o'r hon y tardda pob gair o bob pregeth i'r byd; pob rhybydd, cerydd, cysur, a chynghor i bawb yr un modd; ac felly, pan agorwch eich safnau, Duw y cariad a'u llanwa â geiriau doethineb a deall, ac Ysbryd y gwirionedd a'u hargraffa ar galonau y rhai a'u clywont. Cam-ddealltwriaeth yw synied mai trwy eu cymenu a'u diraddio, yr argyhoeddir y byd coel-grefyddol o anghyssondeb eu traddodiadau. Mor afresymol fyddai beio y dall ganedig am ei ddallineb corfforol, ag a fyddai beio y rhai a aned i'r byd yn ddall ysbrydol, megys ninnau, am beidio canfod goleuni ein hefengyl, hyd nes y dangoswn ni iddynt hwy ei goleuni drwy ymresymiadau eglur, tystiolaethau amyneddgar, ac *ymarweddiadau* dyngarol, fel ag y gwnaeth ereill i ni. Argyhoedder cyn y cerydder, ac felly nid byth y cnoir y wialen. Fflangeller hyd y nod y ci, ac efe a ysgyrnyga ddannedd; llawer mwy y casâ dyn ei gyfaill a'i ceryddo hyd nes y gwelo ei fai. Eli llygaid fyddo ein gwialen gyntaf, ac o hyd, nes y ceir profion mai dall a fyn fod. Os na wyddoch ffordd well, hyderwn y cyd-ymffurfiwch chwi â'n cais hwn, drwy ddysgu yr holl Saint, yn neillduol yr *offeiriadaeth* dan eich gofal, mai i'r graddau yr argyhoeddant eu gwrandawwyr, o'u cariad atynt, yr ennillant eu hymddiried a'u hufydd-dod; Llwyaid o fêl a ddalia fwy o glêr na chwart o finiger, sydd gyffelybiaeth gyfattebol. Ai gwnelo a brofa ei grym!

*Trefnusrwydd* sydd un o brif nodweddau ein heglwys,—rhagoroldeb ein cyfundrefn; ac y mae yn hanfodol yn mhob cylch er cynnyddiant yr oll. Nid nyni a'i gwnaeth, nid nyni a'i pïa, nid ein hawl ni, nid hawl dynoliaeth yw cyfnewid un iot o honi. Fel y derbyniasom hi y mae yn iawn, wrth fodd ei Hawdwr; ac felly yn unig y bendithia Efe ein gweinyddiad

o honi. Gan hyny. mae o bwys mawr i chwi, *ei gweinyddwyr*, ei hiawn ddeall yn ei holl orchymynion, ei hordinhadau, ei swyddau, a'i haddewidion. Mae Llyfr Mormon a'r Athrawiaeth a Chyfammodau genych yn eich iaith eich hun, ynghyd a'r ysgrythyrau; o bryd bwy gilydd, cawsoch lawer o addysgiadau ar hyn gan weision Duw. Chwiliwch yr oll, a thrysorwch yn eich cof y fath yw Teyrnas Dduw yn ei holl gyssylltiadau, ac felly Ysbryd Duw a ddyga y pethau angenrheidiol i'r cof pan y bydd ei hanghen. Os bydd rhyw amgylchiad ar nad yw wybodus ei ddeddf yn dygwydd i chwi, os gwyddom fwy, gofynwch, ein pleser fydd ei gyflwyno. Mae llwyddiant Cynnadledd yn dibynu llawer ar ei hiawn reoleiddiad; canys os nad rheolaidd y mesurau, pa fodd y gellir dysgwyl cynnorthwy Ysbryd Duw i'w dwyn i weithrediad. Dywenydd mawr oedd genym wrth ymweled â hwynt yn ystod y tymmor blaenorol, gael cynnifer o'r Cynnadleddoedd mor reolaidd ag y maent; ond y mae lle i welliadau. Hyderwn yr ymhyfryda pob Llywydd yn iawn drefnu ei Gynnadledd, ynghylch pob materion perthynol, megys y gwna tad ffyddlon ei deulu Yn neillduol dymunem eich sylw at ddosparth y llyfrau, na fydded dyledion yn rhedeg yn y blaen a ellid hebgor; na fydded eich Cynnadleddau yn suddo i unrhyw ddyledion i neb, a ellir oddiwrtho, ond y y ddyled o garu bawb eich gilydd. Crefwn eich sylw at "*Lyfr yr Eglwys*," ar fod pob cofnodau gofynol yn eglur yn hwnw, a'r cyfnewidiadau a wneir yn cael eu manwl gofnodi. Mae hyn o bwys mawr, ac ni ddylai un aelod ymfoddloni heb ddeall fod ei gofnodion yno i'w cael pan eu ceisir. Daw y dydd pan eu hystyrir yn werthfawrocach nag aur. Yr amser presennol yw y goreu oll i gofnodi y cyfryw bethau.

O barthed i'r Drysorfa Ymfudol, ceisiwn eich unol ymdrechiadau hefyd. Cymdeithas deilwng o ymddiried pawb yw hon; ei dybenion dyngarol ydynt glodfawr,--ei galluoedd cyn hir a ystyrir yn wyrthiol i'r byd, pan yn cludo ei charedigion ar adenydd yr awelon dwyreiniol "fel colomenod i'w ffenestri" i'w hamddiffynfeydd yn mhlith y mynyddau tragywyddol, lle yn unig y ceir y waredigaeth ddymunol. *Frodyr*, yr oll a allwch gwnewch er hon; ei swyddogion ydynt gyfiawnion, a'i Llywyddion a deilyngant bob ymddiried am eu gonestrwydd, eu doethineb, a phob galluoedd, dan nawdd y nef, i ddwyn oddiamgylch drwyddi fawrion amcanion Duw, ac i gasglu tlodion blant Seion adref wrth y miloedd. Llwyddiant iddi yw gwir awydd y nef a rhai rhagorol y ddaear. Er yn olaf, etto, nid lleiaf ein dyled a'n braint i gofio am, ac i gynnorthwyo adeiladu Teml Dduw, *i ni ein hunain*, yn Seion; yn ol eu gallu, hyderwn na fydd neb yn ol yn hyn, mwy nag y carant fod yn ol o'r bendithion a addewir ynddi.

## CYMMANFA MERTHYR.

### CRYNODEB O'R HYN A WNAED AC A DDYWEDWYD YN Y GYMMANFA UCHOD.

*Boreu Sul, Rhagfyr* 25, 1853,—Gwelwyd ystafell eang y Saint yn Merthyr, wedi ei gorlenwi â phobl; ac yn mhlith y lliaws, yr oedd amryw frodyr o bell ffordd. Dechreuwyd yr addoliad, oddeutu hanner awr wedi 10 o'r gloch yn y boreu, trwy ganu a gweddio; y naill oedd yn fawl hyfrydlais, a'r llall yn erfyniadau taerion am ddylanwadau yr Ysbryd Glân, ar oruchwylion santaidd y dydd, gan bobl Dduw.

Cyfododd Llywydd y Gynnadledd, yr Henuriad D. Jones, ar ei draed, a llygaid y dorf yn ymsefydlu arno; ac yn mhlith pethau ereill, galwodd sylw y gwrandawyr at ledneisrwydd y drefn Eglwysig, sydd gan Saint y Dyddiau Diweddaf: na ddeuwyd yno i *osod,* nac i *wella* trefn; eithr i ddwyn yn mlaen yr *un hono* a osododd Duw yn ei Eglwys. Wedi annog y dorf i roddi gwrandawiad i'r hyn a lefarid gan y Llywydd S. W. Richards, o Liverpool, ac ychwanegu amryw gyfarwyddiadau yn Saesnaeg, dywedodd y cawsent gyfleusdra i ddangos eu parodrwydd i ddilyn trefn ddwyfol yr Eglwys, trwy godi eu deheulaw, megys arwydd o'u penderfyniad unfrydol, i gynnal y fath drefn werthfawr gyda'u gweddiau a'u cyfraniadau.

Penodwyd yr Henuriad Robert Parry *(Robyn Ddu, Eryri),* yn Ysgrifenydd y Gymmanfa; a'r Henuriad Richard Morris, i fod yn gynnorthwywr i'r Henuriad Wm. Sims, gyda'r cyfrifon.

Penderfynwyd cynnal, fel yr annogwyd, y Brif Lywyddiaeth, Brigham Young a'i ddau Gynghorydd. Dywedai y Llywydd D. Jones, fod y cyffelyb yn Eglwys Dduw yn mhob oes, a bod dyledswydd dyn yn fraint iddo, ac y caiff ei fendithio gan Dduw yn nghyflawniad ei ddyledswydd, tra nad yw yr Arglwydd yn bendithio y rhai a esgeulusant wneuthur eu dyledswyddau. Moses ydoedd y llywydd yn Israel: tra y daliai ei freichiau i fyny, llwyddai yr Arglwydd ei ddymuniadau; pan y diffygiai, y gelynion oeddynt drechaf; eithr ei ddau gynghorydd, Aaron a Hur, a ddaliasant ei freichiau i'r lan, gan ei gynnorthwyo; bendithiodd yr Arglwydd eu cyflawniad o'u dyledswydd hono; a gyrwyd lluoedd y gelynion i gilio a ffoi, yn unig tra y gwnelent hyny.

Penderfynwyd, yn yr un modd, i gynnal y Deuddeg Apostolion; y Deg-a-thrugeiniau; y Llywyddiaeth yn yr Ynysoedd Prydeinig, sef S. W. Richards, a'i ddau Gynghorydd, Daniel Spencer a John Van Cott; ac yna, gan ddywedyd y deuai yn nes adref, cynnygiodd y Llywydd Jones, i'r cyffelyb benderfyniad gael ei wneyd mewn perthynas i'r Lywyddiaeth yn Nghymru, sef W. S. Phillips, heb enwi ond un o'i Gynghorwyr, sef John Davis: yr hyn a wnaed yn unfrydol. Wedi iddo grybwyll mai un Eglwys, yw Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, trwy yr holl fyd, er dan amrywiol lywyddion, a bod yr oll yn gallu galw Duw, "*Ein Harglwydd ni;*" yn nghyd a dywedyd ei fod yn llawn diolchgarwch i'r Enw mwyaf mawr, o herwydd fod cymmaint nifer yn' wyddfodol, wedi eu hennill i gydsynio yn undeb y ffydd, a chwlwm tangnefedd, cododd y Llywydd W. S. Phillips ar ei draed, a chynnygiodd ar fod i'r Saint benderfynu cynnal, yn eu gweddiau a'u cyfraniadau, ei Gynghorydd Dan Jones; yr hwn yn fuan, sydd i gymmeryd arno fawr ofal y Llywyddiaeth yn Nghymru: yr hyn a wnaed trwy godiad deheulaw pob un yn y dyrfa liosog.

Y Llywydd Jones wedi hyny, a nododd y fendith annhraethol sydd yn meddiant y Saint. o *wybod* fod Ysbryd Duw i'w gael, yn yr oes ddiweddaf hon, megys ag yn nyddiau Paul, a'i gyd apostolion; ac awgrymodd, nad oes na dawn, na dysg, na chred, na thalentau mawrion, a all dycio i ddyn, os yn amddifad o ddylanwadau yr Ysbryd Glân. Yna, galwodd am sylw y Saint at amgylchiadau gwellhaol y Gynnadledd, ac annogodd bawb i gyd benderfynu ag ef i fyned yn mlaen, gan ymgyrhaedd o dda i well, trwy ymdrechu byw a gwneyd yn well-well o hyd, ac yn barhaus; ei fod ef yn teimlo, nid yn unig bob parch a chariad at y rhai sydd UWCH eu swyddau nag ef ei hun, ond hefyd at y rhai sydd îs, oddiwrtho ei hun hyd i waered, fel na fyddo i neb, o fewn cylch y gadwen undeb Eglwysig, feddwl na theimlo ei fod ar ei ben ei hunan, eithr yn aelod cyflawn yn Nghorff Crist. Erfyniodd ar i bawb feddiannu teimladau daionus; fod swm eu cyfraniadau arianol yn ymddibynu yn hollol, ar eu hewyllys da eu hunain; mai gwirfoddol yw eu holl roddion, heb arnynt un math o orfodaeth; ac, o ganlyniad, mai rhesymol yw gofyn am fod ganddynt *deimladau daionus* o leiaf; fod y gwaith pwysig yn perthyn i

bob un o honynt, wrtho ei hunan, y naill fel y llall; ond er hyny, ddarfod iddynt oll wneyd mor rhagorol o dda, fel nas gallasai lai na theimlo yn dra diolchgar iddynt am a wnaethant; yr un fath a phe na pherthynai y gwaith i neb ond iddo ei hunan, yn bersonol. Ar ol llefaru yn serchog, yn ddeallgar, ac yn wresog, gofynodd i'r Cymry uniaith fod yn hynaws a thawel, tra y traddodid anerchiad yn Seisnaeg i'r dorf.

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, IONAWR 14, 1854.

Gan fod amryw gyfnewidiadau yn cymmeryd lle yn y cylchoedd llywyddol, yn yr Eglwys yn Nghymru, ar ddechreu y flwyddyn hon, hyderwn y bydd pob llywydd ymadawedig mor foddlon i drosglwyddo pob cyfrifon, llyfrau, cynghorion, a phob dealltwriaeth a fedda, ynghyd a'r oll a ennillodd trwy brofiad blaenorol, ag sydd yn anghenrheidiol er iawn ddeall a chyflawni dyledswyddau y cyfryw gylch, ag a ddylai ei olynydd fod i'w cael.

Dylai Llywydd Cynnadledd fod yn deall sefyllfa ac ansawdd pob Cangen hyd y gellir, megys ag y dylai tad tyner ddeall anghenion a theimladau teulu ei ofal, mewn pethau tymmorol. Gan mai praidd ei ofal ef ydynt oll, gweddus fod ei ofal drostynt oll, a'r oll a ddalia gyssylltiad eglwysig â hwynt. Nid cyfreithlon yw bod Cynnadledd na Changhen yn gyfrifol am unrhyw arian o hyn allan, oddieithr fod y Llywyddiaeth a'r Cynghor perthynol yn gwybod am eu *ceisiad* a'u *treuliad.* O barthed i'r ddyled am lyfrau, ynghyd a phob gofyniad eglwysig oddiwrth y Brif Lywyddiaeth, pa rai y bydd ein pleser neillduol ni i'w gwneyd mor anfynych ac ysgafn, ag y caniatâ yr anghenion, ar ba rai y dibyna llesiant a llwyddiant gwaith yr Arglwydd, Llywyddion y Cynnadleddau yn uniongyrchol a ystyrir genym ni yr unig bersonau cyfrifol; o ganlyniad,

arnynt hwy y dibyna golygiad dros y Cangenau, nid yn unig am eu bod wedi eu hiawn reoleiddio ar ran y gwahanol swyddau, a bod y rhai hyny yn llanw eu cylchoedd, yn iawn borthi praidd ein Bugail, ag iachus athrawiaeth ac esiamplau, ynghyd a chynghorion dyddorol; eithr hefyd, na fyddont yn newid unrhyw lywydd Cangen, heb iddo gyflwyno iddynt holl gyfrifon ac eiddo y Gangen, ynghyd â chynnrychioliad eglur o'u holl sefyllfa hi. Arbeda hyny lawer o darfferth ac anfanteision i'w olynydd, os nad colled hefyd i'r Saint. Dylai pob Cangen hyd y gellir fod ond, fel olwyn fechan oddifewn i, etto ar yr un batrwm o'r, olwyn Gynnadleddol, a'r holl olwyni cynnadleddol yr un fath, ond o ran eu maintioli, â'r olwynion a'u cylchdroant hwythau; ac felly, olwyn o fewn olwyn yn cyd-weithio, er cyflawni amcanion perffeithiawl ei Awdwr, yn yr oll o'i beiriant, ar y ddaear, yn y nef, ac arall fanau hefyd. Un yw yr oll, ac un yw dyledswydd llywydd pob cylch, i berffeithio undeb a chydweithrediad yn yr oll. Gan fod pob Cangen yn ymrwymo i dalu diffygiadau eu dosparthwr, a chan fod y Gymmanfa yn ymrwymo i feichnïo y prif ddosparthwr, o dan arolygiaeth y Llywydd, gobeithiwn na fydd iddynt, dan unrhyw amgylchiad, fradychu yr ymddiried mawr hwnw, a niweidio eu dylanwad ar y cyfryw, drwy esgeuluso gofalu fod pob dosparthwr yn cadw ei gyfrifon yn eglur a chywir; fod ganddo ddigon o lyfrau ar law, i ateb dyledion ar ben pob chwarter. Mae gan bob aelod hawl i ddysgwyl hyn oddiar law ei Lywydd; eu pleser fyddo ei wneuthur, ynte. Ni allwn lai na dadgan ein syndod, pan yn darllen y rhestr o ddyledion i'r swyddfa Gymreig yn unig, yr hwn a welir yn y rhifyn blaenorol! Os oes camsynied, na oeder ei hysbysu i'n rhagflaenydd cyn yr elo ymaith, bydd yn rhy ddiweddar ar ol hyny. Os nad oes hyny, hyderwn na orphwysa unrhyw lywydd, nes y byddo ei Gynnadledd yn rhydd unwaith etto, o'r dyled hwn, ac o bob dyledion ereill; ac yna nid yw ond hawdd eu cadw allan o ddyled.

Nid yw ddoeth i brynu llyfrau personol megys y *Seer*, a'r *Journal of Discourses*, &c., nad pa mor dda bynag y byddont, ar gost cylchrediad cyhoeddiadau eglwysig, megys y *Star* a'r UDGORN, canys yr olaf ydynt gyfryngau er trosglwyddo cynghorion, a phob adeiladadaeth, oddiwrth y Brif Lywyddiaeth

drwy holl gylchoedd yr Eglwys, fel eu caffer er cynnaliaeth ac arweiniad pob aelod. Os lleiheir cylchrediad yr olaf, bydd rhaid codi eu prisiau yn gyferbyniol; o ganlyniad, cymhella hunan les pa fodd i ymddwyn yn hyn; i ni, nid yw wahaniaeth amgen. Hyderir na foddlona ein brodyr Cymreig, ag ydynt mewn cangenau Saesneg, heb yr UDGORN, canys pa fodd amgen y deallant ein cynghorion iddynt? Ac heb hyny, pa fodd y dichon iddynt gyd-weithio, na bod yn yr undeb a ddymunir â'u brodyr yn y Dywysogaeth? Er nad oes wahaniaeth personol rhwng breintiau, o herwydd iaith na chenedl, yn ein golwg ni, etto gorfoda amgylchiadau lleawl yr undeb hwn yn yr oll er eu llesoli.

Wrth ddechreu ein dyledswyddau Golygyddol, dysgwyliwn yn hyderus am gynnorthwy parhaus ein cyd-weithwyr, *Llywyddol* yn enwedig, yn nghyfraniadau eu gohebiaethau ar wahanol destunau, a dueddant i lesoli ein darllenwyr. Diau nad oes waith mwy pleserus i chwi fwy nag i ninnau, nâ bod yn llafurio yn mhob dull, er achubiaeth dynolion; gwahodda yr UDGORN chwi oll i chwythu trwyddo, o ffrwyth eich myfyrdodau athrawiaethol,—eich tystiolaethau profiadol o ddwyfoldeb eich crefydd,—ansawdd eich Cynnadleddau, bedyddiadau, ynghyd a'r argoelion a feddwch. Teilwng yw i Dduw, y Meddyg anffaeledig, gael y clod,—i'r Saint gael cyd-lawenhau yn, ac i'r byd gael clywed am fwynhâd y Saint o'r "*ddawn iachâu*." Gan ein bod yn ei mwynhau yn yr Eglwys, ac yn tystio hyny i'r byd, gwneler cyfiawnder â'r naill a'r llall, drwy anfon i'r UDGORN dystiolaethau plaen, syml, a diwrthbrawf, ynghyd a hanes manwl am y gwelliadau mwyaf nodedig a gymmerant le yn mhlith y Saint. Gwir na ddysgwyliwn am bob gwelliadau a gaiff y Saint drwy Ysbryd Duw, onide llenwid ein tudalenau byrion; etto detholion hynotaf o'r amrywiaeth fydd ddymunol; y gwir i gyd i oleu haul am y cyfryw, a dim ond y gwir a geisiwn.

O'n rhan ni, ein penderfyniad yw gwneyd i'n darllenwyr weled wrth oleuni y "*Seren*" fach hon, ag y cawn y fraint o'u golygu, faint yw ein gofal drosti a'n cariad ati; ac hyderwn na adawa ei charedigion hi mo honom yn anwybodus o'r defnyddiau a dueddant i'w gwneyd yn *oleuad* digonol i arwain y SAINT, ar hyd llwybrau y goleuni. Dyddorol iawn, a newydd-

ion da gan yr holl Saint, debygwn, fydd cael crynodeb byr o hanes pob Cymmanfa, a'i chofnodion; a dilëa hyny y dyeithrwch a achosa anwybodaeth y naill o'r Cynnadleddau ereill, a ffyniant a lliosogiad y naill a'r llall, a fyddant destunau i gyd-lawenhau o'r oll yn iachawdwriaeth Duw i'w blant. Tymmor ffrwythlon fyddo y dyfodol ar winllan y Beirdd, gwlith y nef a îreiddio eu hawen—fel haul gwneled i'n SEREN fach oleuo, a'n HUDGORN fel *clarion* angylaidd eu sain a swnio ar led! Yr hanesion a dderbyniwn gan ein cyfeillion o Seion drwy lythyrau, fyddant ddyddorol ar dudalenau yr UDGORN, fel y deallo y Saint fath wlad yw eu Seion ddymunol; ac felly, dealla y byd y sefyllfa y gadawsom ein "truenus gaethion" cyd-deithiol, ac ansawdd y caethiwed i'r hwn y "gwerthasom" hwynt!

Anfoner gwybodaeth i ni pa le i gyfarwyddo llythyrau at Lywyddion, lle y mae cyfnewidiadau wedi cymmeryd lle. Ymdrecher gael y ffordd rwyddaf a rhataf i anfon llyfrau i'r Cynnadleddau, a hysbyser ni o hyny os ceir gwelliant. Danfoned y neb a gafodd fwy na'i rif o'r 14eg rhifyn o'r UDGORN, cyf. vi, y gweddill yn ol. Dysgwylir i bob un a dderbynia y rhifyn cyntaf o'r UDGORN, neu o'r *Star*, dalu am y Gyfrol.

---

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL

*Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, a gynnaliwyd yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Fawr, gan ddechreu Hydref* 6, 1853, *am* 10 *o'r gloch yn y boreu. Y Llywydd* BRIGHAM YOUNG *yn llywyddu.*

[Difyniadau o rai areithiau a draddodwyd yno.]

YR oedd y Brif Lywyddiaeth, ynghyd ag amryw o'r Apostolion, o'r Deg-a-thrugeiniau, o'r Archoffeiriaid a'r Esgobion, o lywyddion yr estynfeydd, ac ysgrifenydd y Gymmanfa, ac ysgrifenydd yr areithiau, yn bresennol; ac wedi i'r côr ganu emyn, ynghyd a gweddi gan yr Henuriad George A. Smith, a chanu, yr Henuriad Hyde a agorodd y Gymmanfa, trwy adolygu dyfodiad y Saint yn y tymmor hwn, y terfysg Indiaidd, a chynghori y Saint i gadw golwg ar y goleuni gwyldwrol, yr hwn sydd yn ein harwain i fod yn etifeddion pob peth, yn y nef ac ar y ddaear; ac y dylem fod yn ddiolchgar am y meddiannwn y fraint o ddilyn y fath arweinydd.

Pan benodir dyn i fod yn arweinydd, prawf hyny iddo fyned trwy gyfyngderau a phrofedigaethau, ac iddo gael ei brofi yn deilwng o fod yn arweinydd ; ac iddo ennill hyny trwy uniondeb ei ymddygiad, a'i fod yn cael ei gynnal trwy ewyllys da y Saint.

Pe byddai i Dduw ei hun ddisgyn oddiar yr orsedd, a thraethu gwirioneddau i syrthiedig ddyn, llawer a fyddent ag arnynt eisieu i ryw angel ddyfod, a dwyn tystiolaeth mai efe mewn gwirionedd yw Duw. Esgynodd ein Tad nefel i'w orsedd Ff, trwy lawer o brofedigaethau a dyoddefiadau, tebygol i lawer o'r Saint; ac am hyny Efe a all gyd-ymdeimlo â'n gwendidau ni, a gall anfon allan gymhorth i'n cynnorthwyo; o ganlyniad, Efe a anfonodd ei anwyl Fab, fel y byddai i'r *hwn* a wrandawodd ac a ufyddhaodd iddo Ef, wrando ar ac ufyddhau i'r Tad; a phan oedd y Mab hwnw yn gyfyng arno yn ngardd Gethsemane, Efe a anfonodd angel i'w gysuro ef yn ei brofedigaeth. Y rhai na ufyddhäont i'r Mab, nis ufyddhant i'r Tad a'i hanfonodd Ef.

Mae person a fyddo yn myned allan i'r byd, yn myned i ddwyn cernodion dynolryw, a chyda theimlad i ennill coron o wobr. Yr angylion ydynt fel nyni, y maent yn anewyllysgar i ddyfod yma, oddigerth eu hanfon; hwy megys ninnau ydynt rhy ewyllysgar i aros gartref. Pan oedd y brawd Kimball a mi yn Lloegr, teimlai y brawd K. i gymmeryd ymaith ei het, a bendithio y bobl a bendithio y tir, oblegid yr oedd yno ysbryd heddychlawn, a llawer o eneidiau yn ewyllysgar i dderbyn y gwirionedd; ond yr amser a ddaw pan y cymmerir heddwch ymaith oddiar y ddaear. Y Saint ydynt y rhai sydd yn myned i farnu y byd o dan arolygiad yr Hollalluog. Dyledswydd y Saint ydyw cynnyddu a lliosogi; a bydd yn ddyledswydd iddynt roddi dedfryd ar yr ysbrydion syrthiedig, oblegid byddant hwy yn dystion o'u herlidigaeth eu hunain, a phera hyny i'r pechaduriaid lefain am i'r creigiau a'r mynyddoedd syrthio arnynt, a'u cuddio oddiwrth ddigofaint Duw. Pan gymmerir y felldith oddiar y ddaear, rhoddir hi i'r Saint, ac ni fydd nos yno, ond yr oll a fydd oleuni, a gogoniant Duw a'i hamgylchyna hi. Bydd yno le i bawb, a'r rhai hyny a garant dywyllwch yn hytrach na goleuni, gant fyd yn rholio yn dragywyddol mewn tywyllwch.

Yr Henuriad F. D. Richards a gyd-lawenychai â llawer o'r Saint, yn eu dyfodiad yma y tymmor hwn, wedi gorphen eu hymgasgliad. Cynghorodd hwy i fyw yn iawn, fel y caffont ffafr Duw yn barhaus, ac i beidio teimlo yn brudd, o herwydd i'r rhai a ddaethant yn flaenorol gael y sefyllfaoedd goreu yn y y ddinas, eithr yn hytrach llawenhau, fod iddynt hwy enw yn y lle hwn. Byddwch ofalus a deliwch afael yn Ysbryd Duw, rhag cael o honoch ysbryd grwgnach ac achwyn, a syrthio ymaith o'r Eglwys. Gan fod y chwiorydd yn arferyd dylanwad mawr ar y genedlaeth sydd yn codi, cynghorwyf chwi i beidio cadw cymdeithas unrhyw berson a ddywed yn ddrwg am yr awdurdodau, eithr yn hytrach cymdeithaswch â'r rhai hyny ag ydynt yn tueddu at berffeithrwydd. Ni fywiasoch erioed mewn gwlad lle mae personau yn siarad yr hyn a feddyliant, cyn eich dyfod i hon. Frodyr, dylech fod bob amser yn *barod*, ac yna nis daw dim o'i le, hyd y nod pan eich galwer i ddwyn newyddion da i genedloedd nad adwaenant Dduw: oblegid yr Arglwydd Dduw a dywallt allan ei Ysbryd ar holl Israel, fel yr achuber hwynt; a gallwch ddwyn tystiolaeth y bu i'r Ysbryd gael ei dywallt allan mewn cyflawnder mwy goludog o fewn yr ychydig ddyddiau a aethant heibio, nag er pan dderbyniodd y brodyr eu bendithion yn y deml yn Nauvoo, ac yn y lle hwn.

*(I'w barhau.)*

---

## ARWYDDION YR AMSERAU.

Collodd amryw eu bywydau yn yr eira, a llosgwyd llawer o dai ac eiddo, yn Llundain a lleoedd ereill yn ddiweddar. Clefydau a phläau a ddifrodant ddynion mewn amryw wledydd. Teimlwyd daeargryn llym yn yr *Alps*, ger *Val d' Illiez*, ac yn *Sion*, ger *Valais*, ar y 3ydd a'r 4ydd o Ragfyr diweddaf. Mae y rhyfel rhwng Twrci a Rwsia yn berwi y byd; cyhoeddodd Persia ryfel yn erbyn Lloegr. Cynhyrfir Algiers yn erbyn Ffrainc. Anfonir llynges gan Rwsia i'r dwyrain, i godi cythrwfl yn yr India. Dênir Penaeth Affghanistan i wrthwynebu Lloegr. Bradwrus ydyw ymddygiadau Awstria, i'r cyfundeb heddwch. Blinder i Loegr, yn awr, yw iddi golli cyfeillgarwch

*Dos Mahomed*, trwy brynu ffafr *Runjeet Singh*, bymtheg mlynedd yn ol. Poland a Hungary, a wyliant am gyfleusdra i ymryddhau o grafangau eu gormeswyr. Lombardy hefyd sydd yn hiraethu am ddryllio cadwynau ei gorthrechydd. Ceir gwell gwybodaeth, y Gwanwyn, am fwriadau Rwsia; eithr ymddengys yn awr, ei bod am fynu ei hamcanion dechreuol i ben, er gorfod tori trwy bob ymgais heddychol o eiddo Lloegr a Ffrainc, wrth wneyd hyny. Y chwildroad yn China sydd ar gynnydd yn barhaus; dywedir i'r gwrthryfelwyr allu meddiannu Pekin, prif ddinas China; ac nid oes ammheuaeth nad y bwriad ydyw difodi eilun-addoliaeth yn llwyr o'r wlad, a sefydlu ynddi Gristionogaeth; rhydd hyn fantais i Genadon y Saint, sydd yno, fyned a phregethu y Gristionogaeth wreiddiol i'r trigolion, y rhai a gynnwysant y drydedd ran o boblogaeth y byd.

Mae yn Lloegr a Chymru 37 o sectariaid, a ystyrir gan y llywodraeth wladol yn ymgorffoledig, heblaw lliaws nad ystyrir felly. Nifer y bobl mewn lleoedd addoliad, o fewn Cymru a Lloegr, ar y Sul, Mawrth 30, 1831, oedd chwe miliwn, tri chant ac un ar bymtheg a deugain o filoedd, a dau gant a dau ar hugain; tra yr oedd poblogaeth y wlad y pryd hwnw, yn ddwy filiwn ar bymtheg, naw cant a saith ar hugain o filoedd, a chwe chant a naw!—Mae cyllid yr Eglwys wladol dros *bump miliwn* o bunnoedd y flwyddyn! ac er hyny, ac er trymhau cosp y rhai a gamdriniant eu gwragedd, parhau i anmharchu, curo, newynu, a lladd eu gwragedd y mae yr anghenfilod o ddynion, yn y deyrnas *Gristionogol* (?) hon; heblaw cael a lladd llaweroedd o blant; tra yn UTAH, a ystyrir gan y Sectariaid megys yn le *Anghristionogol*, y perchir, y mynwesir, y meithrinir, ac y cofleidir y gwragedd a'r plant, y rhai ydynt oll yn gyfreithlon, ac y collai eu gwyr a'u tadau eu bywydau er eu mwyn.—Canfyddwyd hen ddinasoedd o fewn y ddaear yn yr America, yn gwirio Llyfr Mormon. Mae y Saint yn cynnyddu yn gyflym, mewn rhinwedd a rhifedi, yn mhob gwlad; a channoedd o honynt sydd ar fyned i Seion, y Gwanwyn hwn, o Switzerland, Italy, a llawer man arall, megys ag o'r Ynysoedd Prydeinig. Diau y canfyddir canlyniadau trwy yr holl bethau hyn, yn fath ag a brofant nad pell oddiwrthym yw cyflawniad llawer o'r prophwydoliaethau.

## AM SEION.

Mawr yw twrf y môr bob ennyd,—Ar nos a dydd,
Chwern yw'r gyflym fellten danllyd,—Ar nos a dydd.
Mawr yw serch y bardd yn gysson,
At ei fun lygad-las ffyddlon,—
Mwy, yw'm hiraeth i am Seion,—Ar nos a dydd.

Gwlad y Deml, wyf am fyn'd iddi,—Ar nos a dydd,
Lle câ'r ordinhadau'u gweini,—Ar nos a dydd :
Gwlad y goreu deulu dedwydd,
Gwlad yr iachus ddwfr a dolydd,
Gwlad y canaf iddi beunydd,—Ar nos a dydd.

*Llanelli.* Dewi Elfed.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Geiriau Salw.—Prawf yr arferiad o eiriau salw, yn mysg y rhai ag ydynt barchus o grefydd, fod dynion a elwir yn gall wedi dysgu mwy yn nghyfeillach pobl ffol, nag a ddysg pobl ffol yn nghyfeillach dynion call.

Grym Synwyr.—Myned a gwneyd daioni, yn ddystaw, gyda nerth y meddwl ; fel yr aeth Samson, heb ddywedyd gair wrth ei dad na'i fam, gyda chryfder ei gorff.

ENGLYN.

Morwr, yn ddysgwr a ddaeth—ar y byd;
Trwy bur *Dduwinyddiaeth*
Ac un ffresg ei egni ffraeth,
Yw y Morwr am araeth. R. Ddu, Eryri.

---

Taliadau o Ionawr. 6 hyd Ionawr. 12.—Dwyreiniol Morganwg, £4.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street*, *Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 3.] IONAWR 21, 1854. [CYF. VII.

## DONIAU YSBRYDOL.

NID ein hamcan yn y sylwadau canlynol, yw manylu ar natur na pharhad, "ymadawiad," nac adferiad y doniau ysbrydol; gwnaethom hyny yn helaeth a diwrthbrawf, debygwn, yn yr "*Eurgrawn Ysgrythyrol,*" &c., a chrefwn sylw aml yno. Taer ddymunwn ystyriaethau y Saint ar a ganlyn hefyd. Nid oes anghen i ni brofi na dweyd fod yr amrywiol ddoniau ysbrydol ag oedd yn addawedig gan Dduw i'w eglwys, yn amser y saint cyntefig, yn gyrhaeddadwy i Saint y Dyddiau Diweddaf yn awr; canys trwy *fwynhad* o honynt o bryd bwy gilydd, daeth hyn yn ffaith wybodus i chwi; etto, y mae rhyw fath o *Saint,* ag y dymunem ddweyd gair neu ddau wrthynt ar y pen hwn; sef y rhai hyny a ymfoddlonant i fyw, a bod yn yr Eglwys heb fwynhau y doniau rhag-grybwylledig *eu hunain*, ac heb lawer neu nemawr o awydd eu cael. Hyfryd ganddynt, mae yn wir, yw clywed eu brodyr a'u chwiorydd yn y cyfarfodydd yn llefaru â thafodau dyeithr, a chlywed ereill yn cyfieithu; ereill yn prophwydo, yn canu trwy yr Ysbryd, &c. Ond o'u rhan hwy gallant wneyd hebddynt yn byrion. Cam-ddealltwriaeth o'r doniau a'u dybenion yw hyna. Mae yn *ddyledswydd arbenig* ar *bob un* o'r Saint i geisio y doniau drosto ac iddo ei hun. "Deisyfwch ddoniau ysbrydol; ond yn hytrach fel y prophwydoch" (1 Cor. xiv, 1), sydd ysgrythyr orchymynedig; ni ellir ei hesgeuluso heb fod yn troseddu gorchymyn dwyfol drwy hyny. "Deisyfwch;" cynnwysir yr oll o'r Saint yn y gorchymyn

hwn. Nid deisyfed rhyw rai neillduol o honoch; nid *gofynwch* yn unig ychwaith, heb fod nemawr wahaniaeth pa un a gewch ai peidio; nage, ond *deisyfwch* yn daer, yn *barhaus*, yn AWYDDUS, hyd nes eu cael, a ddylid. Gwir mai Duw yn unig a ddichon gyflwyno y Doniau Ysbrydol; mai dylanwadau ei Ysbryd Ef ydynt; yna dylid gweddio arno Ef am danynt, a gweddio yn daer, gweddio yn fynych, a gweddio yn *ffyddiog* HYD NES Y LLWYDDIR. Pa fodd yr esgusoda neb ei hun rhag gweddio am y naill fendith addawedig, ag sydd yn orchymynedig, mwy nag y boddlona ei gydwybod, tra na weddia am unrhyw fendithion ereill ag y *gorchymynir* i ni weddio am danynt?

*Deisyfwch* ddoniau ysbrydol ynte, chwi Saint, a'ch holl egni, ac hyd nes eu cael; eiddoch chwi ydynt ar yr ammod o'u ceisio. "Mi a fynwn petaech *chwi oll* yn llefaru â thafodau dyeithr; ond yn hytrach brophwydo o honoch," ebe Paul, ac felly y dywedwn ninnau, ac felly y parhawn i ddweyd hyd nes y gorchymyno y cyfranwr o honynt i ni dewi; serch gwaeddi o holl ddoethineb ddynol byd "eu bod wedi darfod, ac nad oes eu heisieu," uwch, uwch, gwaeddwn ninnau, "*Deisyfwch* ddoniau ysbrydol." Dyweded pawb a fynont am y doniau, gwawdient, cablent, gwadent hwy neu tawent â sôn; pa wiw, pa waeth; ein cenadwri orchymynedig ni yw, cyhoeddi yr addewid o'r doniau ysbrydol i'r Saint, dangos y ffordd i'w cael a'u cymhell hwythau i gyflawni eu dyledswyddau o eu ceisio.

"Am hyny, frodyr, byddwch AWYDDUS i brophwydo; ac na waherddwch lefaru â thafodau dyeithr." Nid digon i'r pregethwr, nid digon oedd gan yr Apostol hwn eu mheddu ei hun; ac ni allai efe—ni all neb, eu cyflwyno ond Duw; yna dyledus—*anghenrhaid* yw i bob un eu ceisio drosto ei hun. Pa fodd yn ngwyneb y fath orchymynion pendant, y dichon neb o'r Saint feddwl y gallant hwy ryngu bodd Duw heb eu ceisio, ni allwn ddirnad! Pa fodd y dysgwyliant gymmeradwyaeth gyda Duw, na llawer o fendithion ereill, os yn byw ac yn parhau yn y trosedd—ai gormod yw dweyd y PECHOD hwn, o *anufydd-dod* i orchymyn ag sydd mor *eglur*—mor BENDANT? Gorchymyn, yw cyfraith Duw. Gan mai anghyfraith neu croes i gyfraith yw pechod, paham nad pechod yw yr esgeulusdod hwn yn mhawb o'r rhai ag y mae y doniau yn addawedig iddynt?

Gwir fod pechodau gweithredol a phechodau o esgeulusdod. Am fawredd y pechod olaf, ystyrir ef wrth ei ganlyniadau. Pe "argyhoeddi y byd," fel y dywed y cyffredinolrwydd o dduwinyddion ein hoes, oedd dybenion y doniau cyntefig yn yr eglwys apostolaidd; a chan fod mawr anghen i argyhoeddi dynion yn awr, yna dylent hwy ymdrechu am y moddion i hyny! ac felly cyhuddant eu hunain o fawrddrwg drwy eu gwadu na'u hanghen! Etto, yr ydym ni yn ystyried dybenion y doniau yn dra goruwch i hyna; ac o ganlyniad, fawr ddrwg yr esgeulusdod o eu ceisio yn gyferbyniol fwy. Argyhoeddir ni drwy ddwyfol orchymynion, a deallwn trwy brofiadau hun-an-eglur, mai dyben y doniau yw er lleshâd ac adeiladaeth eglwys Dduw, eu bod wedi cael eu gosod ganddo Ef yn ei eglwys yn bwrpasol i'r dyben pwysig a mawreddog hyny. Gan fod cadwedigaeth pob un yn yr eglwys yn dibynu ar gael ei adeiladu yn y santeiddiaf ffydd; ar gael ei buro a'i ber-ffeithio i wrthsefyll pob drwg, ac i gyflawni holl waith Duw; yna gwelir yn eglur yr ystyriai Duw y doniau yn anhebgorol er ateb y dybenion canmoladwy hyny; neu ynte, ddarfod iddo osod cyfryngau afreidiol yn ei eglwys! Mae mor eglur â'r gosodiad blaenaf hefyd, bod yr hwn a esgeuluso eu ceisio yn atebol, wrth beidio adeiladu yr eglwys yn y ffordd hyn, am y canlyniadau; a pheth amgen yw esgeuluso y rhai'n na cheisio adeiladu yr eglwys trwy ffordd groes i gynghor Duw? A pha wahaniaeth sydd rhwng hyny â Sectariaeth neu "Gristionog-aeth *newydd*" yr oes hon? Anmhosibl ufyddhau i holl orchymyn-ion Duw ac esgeuluso "deisyf y doniau ysbrydol." Anmhosibl ynte, yw rhyngu bodd Duw heb eu ceisio. Gwir nad *llywyddu* yr eglwys yw dyben y doniau; gosododd Duw yr offeiriadaeth yn meddiant ei weision i'r dyben hyny, ac annoga hwy i ofalu ar fod yr oll, yn ol eu gosodiadau, yn cyflawni eu dyledswyddau eu hunain; ac y mae y naill mor anhebgorol yn ei gylch ac i'w ddyben priodol, ag yw y llall, neu nnrhyw yn ei gylch, ac i'r dyben priodol o'i ddwyfol osodiad yntau.

*Gweler*, COFIER ynte, fod yr hwn a esgeulusa geisio y don-iau ysbrydol yn yr eglwys, nid yn unig yn droseddwr gorchym-yn dwyfol, yn tueddu hyd ei ddylanwad i farweiddio, ac i rwysto ireidd-dra holl gangenau y pren dwyfol, ond ei fod hefyd yn gwrthod y maeth cynnaliaethol—yn crino ac yn ym-

barotoi, er efallai, yn raddol, etto yn sicr i dân!—Nid yw y ffaith o fod rhai yn yr eglwys apostolaidd heb feddu y doniau cyfeiriedig, yn esgus i neb beidio eu " deisyf" hwynt. *Deisyfwn*, oll yn daer nes eu cael ynte, ac yna gwelir pob cangen fel y pren almon yn blodeuo ganddynt, ac yn dwyn ffwythau nefolaidd er clod i Dduw, ac er llawenhau calonau ac adeiladu yr holl eglwys yn mhob santeiddrwydd: uchel a chydgordiol fyddai moliant y Saint i Dduw, am na fyddent hwythau yn ol mewn un ddawn ysbrydol.

Ond, ebe rhywun, ysgatfydd, yr wyf wedi bod yn gweddio cryn lawer, am y ddawn o lefaru â thafodau, ac heb ei chael hyd yn hyn; ac felly credaf nad wyf i ei chael." Wel, dichon mai rhyw ddawn arall a fyddai yn fwyaf llesol, ac felly a fuasai yn fwyaf dewisol gan Dduw ei chyfranu y pryd hyny. Nid y derbynydd, eithr y cyfranwr doethach, sydd i ddewis pa ddawn; dylai fod digon o ffydd i ymddiried yn ei gyfraniad Ef, megys ag y gwna y plentyn da a'i rieni. Y ffordd debycaf i lwyddo i gael y doniau yw, fel gyda phob gweddi arall, "O Dad, cyfrana di i mi y ddawn a ewyllysi di." Hefyd, wrth weddio am y doniau, dylem gadw y dyben cywir mewn golwg, sef "adeiladu yr eglwys," ac nid adeiladu ein hun yn unig, nac er mwyn hunan glod. Efallai fod gan rai le i wella yn hyn!

Yn mhellach, meddwn, nid gweddio yn daer yw yr oll ag sydd ofynol er cael y doniau, heb gariad at Dduw a'u gilydd; na hyny chwaith, heb fuchedd lân, cydwybod ddirwystr, ffyddlondeb yn y cyflawniad o bob dyledswydd arall, ofer dysgwyl y doniau ysbrydol. Ysbryd pur yw ysbryd y doniau, a lle na bo teml lân ni phreswylia yn hir os na fydd ymdrech am ymsanteiddio. Oni wyddoch chwi mai temlau ydych i Ysbryd Duw breswylio ynoch? Ac nad faint sydd yn methu yn eu cais am y doniau trwy y camsyniadau blaenorol a nodwyd, mae lle i ofni mai yn y peth hyn y mae y perygl mwyaf o aflwyddiant. Oni wyddom fod yn anghenrheidiol ein bedyddio ni er maddeuant o'n pechodau gweithredol, ar sail ein ffydd a'n hedifeirwch, cyn y gallem ni fod yn addas i dderbyn dawn yr Ysbryd Glân? Ac onid yw yr un mor amlwg, yr anghenrheidrwydd sydd am *gadw oddiwrth* bechod, a phob halogrwydd cnawd a buchedd, a phob peth croes i santeiddrwydd, er i'r Ysbryd

hwnw, nid yn unig cyflwyno i ni ei ddoniau, ond hefyd er iddo *breswylio* ynom oll?

Ar i'r sylwadau hyn dynu sylw, cydsyniad a chyd-weithrediad ein brodyr ar Gynnadleddau, ar Gangenau, Dosparthiadau, a phob teuiu ac aelod o'r eglwys yn Nghymru, hyd nes y cydlawenhaom oll, yn y mwynhad o nefoleidd-dra yr holl ddoniau ysbrydol addawedig i ni, taflwn ein hysgrifell yn awr, a thaer weddiwn!

---

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL

*Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, a gynnaliwyd yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Fawr, gan ddechreu Hydref* 6, 1853, *am* 10 *o'r gloch yn y boreu. Y Llywydd* BRIGHAM YOUNG *yn llywyddu.*

[Parhad o dud. 34]

Y LLYWYDD BRIGHAM YOUNG a ddywedodd, Yr wyf yn ewyllysio galw sylw y Gymmanfa hon at wahoddiad a roddaf iddynt, ac ewyllysiwyf ei estyn i'r Saint yn y Dyffryn hwn, ac mewn ereill leoedd. Cyfeiriwyf at ymgasgliad y Saint tlodion.

Mae llawer o honom ni yn gyfarwydd ag amgylchiadau y Saint pan y daethant hwy i'r Dyffryn hwn chwech mlynedd yn ol, ac hefyd bump a phedair blynedd yn ol. Pe byddai i ni fyned trwy y werin hon a chwilio allan y dynion a'r gwragedd a phlant a ddaethant yma ar eu cymhorthiadau eu hunain, a'r rhai hyny a gynnorthwywyd yma gan y Drysorfa Ymfudol Barhaus, a chan wahanol bersonau, canfyddid i gyfran fawr o'r werin gael eu dwyn yma trwy gynnorthwy rhai ereill. Ni ddywedaf i'r fwyafrif ddyfod yma o dan yr amgylchiadau hyny, ond y mae yna filoedd a ddaethant. Miloedd o ddynion, menywod, a phlant a gynnorthwywyd yma gan y Drysorfa Ymfudol Barhaus.

Hyn yw y testun at yr hwn yr ewyllysiwyf alw sylw y Gymmanfa, a'r werin yn gyffredinol. Ewyllysiwyf i bawb wrandaw arno, adfeddylio arno, a'i ddwys ystyried yn ddifrifol.

Galwyf ar y rhai hyny na roddasant allan eu dwylaw hyd yn hyn i gynnorthwyo at gasglu y tlodion; i roddi i ni eu henwau, a'u moddion, yn ystod y Gymmanfa hon, fel y codom

ychydig filoedd o ddolars i'w cymhwyso at hyn o ddyben. Tybier y cynnygiem godi cymmaint ag a wnaethom bedair blynedd yn ol, pan oeddem yn nghanol ein tlodi a'n cyfyngder mwyaf; yr oeddem newydd gyrhaedd yma, ac heb genym ond prin ddigon i gynnal bywyd. Eithr er yr amgylchiadau cyfyngol hyn yn adeg y Gymmanfa gyntaf a gynnaliasom yn yr hen Dabernacl, cynhyrfiwyd yr achos hwn, a chodwyd ac anfonwyd 5,700 dolar at gasglu i mewn y tlodion. A feiddiaf fi anturio i wenieithio i'm hunan y gallwn godi 5 neu 6,000 doleri y Gymmanfa hon, i'w cymhwyso at yr unrhyw ddyben daionus? Mae yr holl bobl yn alluocach i godi 50,000 doleri yn awr, nag a oeddynt i godi 5,000 y pryd hyny. Tybier i ni godi 15 neu 20,000 doleri i'w hanfon i'n brodyr tlodion, a'n chwiorydd, y rhai a hiraethant am fod yma gan gymmaint ag ag y darfu i neb o honoch chwi, cyn i'ch ffordd gael ei hagor. Gellir codi y swm hwn yn awr, heb ymegnïad anarferol.

Gallem ofyn i chwi adfeddylio ar y dyddiau a dreuliasoch yn y tir pellenig acw, lle nas gallasech rodio yr heolydd, neu fyned i fasgnachdŷ fel dinasydd arall, heb i fys dirmyg fod yn gyfeiriedig atoch; heb ddyoddef gwatwaredd a chellwair drwganianol yr annuwiol, er mwyn eich crefydd. Gadawer i mi gyfeirio eich meddyliau at yr amser y cyflwynwyd yr efengyl i chwi gyntaf, ac yr ymagorodd ei goleuni a'i gogoniant ar eich dealltwriaethau; pan yr adlewyrchodd tragywyddoldeb a thragywyddol bethau ar eich meddyliau dyryslyd, ac y cyffröwyd eich amgyffrediadau i ganfod pethau fel yr oeddynt, fel y maent, ac fel y byddant hwy. Pa fath oeddynt eich teimladau, a'ch myfyrdodau, pan yr ymdorodd Seion a'i gogoniant ar eich golygon? Pan yr ymddangosodd pobl Dduw i chwi, wedi ymgynnull ynghyd, yn ddarpariadol i ddyfodiad Mab y Dyn? Etto, pa fath oeddynt eich teimladau, pan yn mhob cyfeiriad y troech eich llygaid y cyfarfyddent ag ymddangosiadau o ddrygioni ac y cyfarchid eich clustiau gyda chableddau dyfnliwiedig o bob darluniad? A oedd yno neb yn ofni yr Arglwydd? Nac oedd. Nis gallasai y mwyaf crefyddol wneyd dim yn rhagor nag a wnaeth rhai yn nyddiau yr Apostolion; gallent gyfodi delw i'r Duw nad adwaenir, ac addoli rhywun, neu rhywbeth, eithr nis gwyddent pa beth. Pa fath oeddynt eich teimladau a'ch hystyriaethau, dan y cyfryw amgylchiadau,

pan y clywsoch gyntaf am waith y Dyddiau Diweddaf? am yr Efengyl yn ei chyflawnder? pan y dysgasoch gyntaf fod gan yr Arglwydd brophwyd, ac apostolion, y rhai a ddaliant eiriau y bywyd i'r bobl? Pa beth oedd yna nad aberthasech yn y fynyd am y fraint o ymgynnull gyda'r Saint, o gymmysgu eich lleisiau a'ch ymddyddanion gyda'r eiddynt hwy, ddydd ar ol dydd? o ymweled, teithio, gwneyd gorchwylion, llafurio, a threulio eich bywydau gyda y rhai hyny a adwaenant ac a garant yr Arglwydd, ac a'i gwasanaethant Ef? A oes yna unrhyw beth nad aberthasech? Yn wir, nid oes!

Yna os medrwch gofio eich teimladau eich hunain, chwi a fedrwch wybod pa fodd y teimla ereill; chwi a fedrwch wirioneddu pa fodd y teimla miloedd, ac ugeiniau o filoedd, yn y fynyd bresennol. Nid oes yna galedi y nacäent fyned dano, na pherygl nad ymdrechent ei orchfygu, pe y gallent ymgynnull gyda ni yma, y dydd hwn. Ni fyddai un brofedigaeth yn rhy lem ganddynt hwy, nid oes yna un aberth nas gwnelant hwy yn barodol ac ewyllysgar am y fraint a fwynhewch chwi y dydd hwn. Frodyr a chwiorydd, a ellwch chwi sylweddoli hyn?

Gadawer i ni yn awr ddarllen pennod ar yr ochr arall i'r ddalen, a chanfyddwn galonau dynion, a menywod, trwy groesi y cefnfôr, trwy deithio ychydig wythnosau neu fisoedd, ar ddwfr a thir, yn ymddangos mewn rhan wedi eu cauad i fyny, ac y maent yn colli golwg ar wrthddrych eu herlyniad. Ymddengys fel pe byddai y caledi yr aethant trwyddo, wrth ddyfod i'r tir hwn, wedi alltudio agos bob mymryn o oleuni Crist allan o'u meddyliau.

Os chwennychasoch ar eich taith, gyda dylanwad yr Ysbryd Glân yn cynnesu eich calonau, pwy â'ch rhwystrodd chwi rhag ei gadw bob dydd o'ch bywyd? Dichon i chwi ddywedyd mai y diafol a'ch hyspeiliodd o hono. Ond pa orchwyl oedd genych chwi gyda'r diafol? A oedd yna unrhyw angenrheidrwydd a barai i chwi fyned i gyfeillach ag ef, neu i gyfranogaeth gyda gweithredoedd y tywyllwch? Yr ydych yn ateb, Nad oedd; "Gadawais ef ac oll o'm hen gymdeithion a theimladau, a rhoddais fy hunan i'r Arglwydd, cofleidiais ei efengyl Ef, ac aethym allan i adeiladu ei deyrnas Ef, ac ewyllysiais ymgasglu gyda'r Saint yn y lle ymgasgliedig.

Tybier fod y diafol yn eich temtio chwi, a raid i chwi o anghenrheidrwydd fyned i gydgyfranogaeth etto gydag ef, i agoryd eich drysau, a rhoddi iddo roesawiad i'ch tai, a dywedyd wrtho i deyrnasu yno? Paham nad adfeddyliech a dywedyd wrth meistr diafol, ynghyd a'i holl gymdeithion a'i eppiledd, am fyned ymaith, gan deimlo i chwi ei wasanaethu ef ddigon hir.

Ebe un, "Nis gwyddwn i mai posibl y gallaswn ddyfod yma gydag anifeiliaid aflywodraethus, heb fy mod yn gamweddus yn fy nheimladau;" neu, "gwnaeth y brawd hwn yn gamweddus ac anafodd fy nheimladau; yr oeddwn wedi fy anfoddogi, a dyrysodd gofalon y daith fy meddwl, a niweidiodd fi fel nad wyf fi mewn gwirionedd yn gwybod pa un a ddaethym i'r lle y cychwynais iddo, ai peidio; y mae pethau yn fwy gwahaniaethol yma nac y dysgwyliais i eu canfod hwy," &c.

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, IONAWR 21, 1854.

Doniau Ysbrydol.—Cymhellwn y traethawd blaenorol i sylw neillduol ein darllenwyr, ac hyderwn na foddlona unrhyw Lywydd Cynnadledd na Changen, swyddog nac aelod, hyd nes y byddo, nid yn unig pob eglwys, eithr hefyd pob aelod yn *mhob* eglwys yn gorfoleddu yn y mwynhâd o'r doniau Ysbrydol, yn mynych gymdeithasu â'r nef a'i dedwydd drigolion, ac yn pêr lewygu gan ddysglaerdeb ei gogoniant, fel Paul ac ereill, mewn gweledigaethau. Hynaws Saint, na foddloner chwi ar lai nâ gwleddoedd parhaus o "fara y plant," nes brashau eich eneidiau yn ngwybodaeth eich Tad, ac yn tebygoli iddo, yr hyn yw ei ddaionus amcaniad yn nghyfraniad ei ysbrydol ddoniau i'w blant ynmhob oes a gwlad. Eiddoch chwi ydynt. Ceisiwch hwynt. Na oddefwch omeddiad.

Dyledion am Lyfrau.—Hyderwn y ceir sylw buan Llyw-

yddion Cangenau Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg at y rhifres dyledion am lyfrau ag sydd gogyfer â'u henwau yn y daflen ar ddiwedd y rhifyn hwn. Frodyr, a ydyw y pethau hyn felly? Os ydynt, Paham? sydd gwestiynau a ddymunwn i chwi edrych i mewn iddynt, ac egluro i ni. Os oes camsyniaeth yn un man hysbyser i'r cyn brif ddosbarthwyr yn ddioed, cyn yr elont ymaith. A oes gwerth £162 12s 8c o lyfrau Cymraeg a Saesneg ar law? Os nad oes, Pa le y maent? sydd ofyniad a ddylai fod ei ateb yn barodol gan bob Llywydd Cangen i'r sawl a ofyn iddo; o leiaf, ar ben pob chwarter dysgwylir hyn ganddo. Manwl graffer ar ddosparth y llyfrau yn fynych, frodyr, ac fe wêl y Saint eich bod yn teilyngu eu hymddiried yn hyn fel yn mhob peth arall.

Yr Arweinydd i Seion.—Difynwyd yr hyn sydd yn y rhifyn hwn er cyfleusdra i'r rhai a ymfudant eleni, fel y gallant ddarparu yn gyferbyniol. Mae y llyfr yn y wasg, a gweithir wrtho nos a dydd braidd; ac nid ydym wedi anobeithio ei gael yn barod oll erbyn y cychwyno yr ymfudiaeth eleni, neu gynnifer, o leiaf, ag a fydd eisiau ar yr ymfudwyr.

---

## DARPARIAETH YMFUDWYR CYN CYCHWYN O GYMRU.

Allan o'r "Arweinydd i Seion."

Yn Gyntaf, talwch eich dyledion cyfiawn i bawb, neu mynwch hynawsedd eich gofynwyr i naill ai yn rhâd faddeu neu i adael i chwi gael amser fel y taloch yn ol iddynt o ben eich taith, heb wneyd y naill neu y llall ni chynghorem neb i ymfydo tua Seion.

*Yn ail*, ymdrechwch fod wedi ymryddhau yn eich cydwybodau trwy rybyddio yr oll o'ch cyd-ddynion a alloch, yn neillduol eich perthynasau, gan eu hannog i ufyddhau i'r efengyl a ffoi i'r Seion waredol mewn pryd. Eich ymddygiadau fo yn gwneyd eich coffadwriaeth yn fendigedig.

*Yn drydedd*, chwiliwch am hanes, enwau, genedigaethau, priodasau a marwolaethau eich henafiaid hyd y galloch, ynghyd a'u perthynasau byw. Deallir y pwysigrwydd o hyn wrth ei ganlyniadau dyfodol yn well nag y gallwn ei hysbysu yn awr.

Cymmaint a hyna o gynghorion cyffredinol, pa rai y dylai y tlawd fel y boneddwr eu gwneuthur. I'r dyben o hyfforddi

pawb yn y darpariadau a ddymunem o barthed i ddilladau a phob math o nwyfau, dosparthwn ein hymfudwyr yn yn dri dosparth; sef, 1. Y rhai arianog a allant ac a fwriadant fyned yn eu waggeni eu hunain dros y *plains* 2. Y rhai a ânt gyda y cwmnioedd £13 yr un. 3. Y rhai a ânt gyda y "Gymdeithas Ymfudol Barhaus."

1. Annogwn y dosparth cyfoethog o'n hymfudwyr i dalu eu degwm! O barthed i ddilladau, fel rheol gyffredin dywedwn mai doeth fyddai iddynt ddarparu digonedd iddynt eu hunain a'u teuluoedd am ddwy flynedd, Nid rhaid eu bod yn wahanol i'r dilladau a wisgir gartref. Cymerir y cyffelyb gyfartalwch ag yma o ddillad hâf a gauaf. Lle ceir tywydd twymach neu oerach gellir ymddwyn yn gyferbyniol trwy leihau neu ychwanegu y dillad a feddir. Pethau anhawdd eu cludo yw hetiau a bonnets. *Cotiau*, brethyn yngbyd a rhai velvet neu moleskins i'w gwisgo ar y ffordd ac at waith; hefyd cot o ddefnydd ysgafn at dywydd twymn. *Trowseri*, o ddefnydd cryf na rwyga'r drain yn hawdd yw goreu ar y ffordd o leiaf, ffustian neu moleskin a'r cyffelyb. Hefyd rhai brethynau, neu fel a wisgir yma. *Crysau*, llawnder o grysau sydd dda, yn lle lliain, gwell cotton (factory) o herwydd pan chwysir effeithia i fraeo y blaenaf yn fwy na'r olaf, oddieithr y colerau a'r fronts o liain. Cyfleus fyddai crysau check lliwiol ar y ffordd, ac at rhai gorchwylion wedi cyrhaedd draw. *Dillad isaf*—o wlanen—digon am flwyddyn—a defnydd i wneyd y cyfryw o ddull arall, a gwell, wedi cyrhaedd Seion. *Esgidiau a Botasau*—Nid rhy gryfion, na'r hoelion mawr a welir, yn gyffredin. Mae lledr y wlad hon yn well nâ'r lledr Americanaidd, gan hyny goreu fod tri neu bedwar pâr yr un. Gwisger yr hynaf ar y môr, a chadwer y lleill yn ddiogel rhag dwfr ac awel y môr, canys pydra y lledr a'r gwnïad. Felly dillad hefyd, hyd y gellir. Mae lledr yn bur ddrud yn y Dyffryn; a chan na chaniata y gyfraith ond digon at anghenrheidiau presennol o'r wlad hon i New Orleans, doeth a fyddai i'r rhai a allont fyned â lledr o St. Lonis gyda hwynt. Nid ydym yn meddwl mai tro ffol a fyddai cymmeryd y *Gutta Percha* i'r Dyffryn, gan fod gwaith y cryddion yn gostus yno. *Hosanau* gwlan cartref, yn brif; am rai *worsted* a chotwm, prynir hwynt yn rhad yn St. Louis. Y blaenaf, a weuir yn Nghymru, ydynt y rhai goreu a welsom yn unman. Amryw bârau ar gyfer pob un a fyddai yn

ddefnyddlol, gan na fydd cyfle i gyweirio, efallai, fel sy gartref. Heblaw hyn, byddai yn dda iawn gan y cyfeillion sydd draw, os nad oes *berthynasau*, brynu genych ambell bilyn fel yr uchod. Cofier am danynt!

DANPARIADAU BENYWAIDD Y DOSPARTH HWN.

Da a fyddai cwpl o ŵnau gwlanen, neu stwff cryf o waith cartref, a pheisiau cartref a rhai gwlanen, er na byddai eu heisiau bob amser; etto, gan y bydd y shop yn go bell, gwell eu bod wrth law pan y bydd eu heisiau. Dillad isaf yn debyg i'r rhai gartref, ond mwy o amrywiaeth, o herwydd anghyfleusderau teithio. Hosanau ac esgidiau yn ol y cyfarwyddiadau uchod i'r dynion. Nid annefnyddiol a fydd *Umbrellas* a *Parasols* erbyn yr eir i wlad dwymnach. Os am gydweddu â boneddigesau Seion, gwell darparu cwpl o ŵnau go *stylish*; etto nid yn anweddaidd; nid hynod a fyddai gwnau sidan a *satin* yno, heblaw gwnau cotwm da ar y ffordd. Darparwch hefyd ribanau, canys y maent yn ddrud yno. Da a fyddai amrywiaeth i'r plant o bob peth. Cynghorem fenywod hefyd i ddarparu lliain main; tua deg llath yr un erbyn y delont yno—deallant ei werth. Dillad gwelyau yn helaeth i'r rhai a feddant fodd i'w cludo. Pethau esmwyth iawn i gysgu arnynt ar y môr, ar yr afonydd, dros y *plains*, ac hefyd wedi cyrhaedd draw, fydd gwelyau plû; a haera rhai eu bod yn esmwythach i farw arnynt hefyd! O leiaf, os eir â hwynt, gwnïer dwy gynfes, am danynt rhag eu diwyno, a chadwer hwynt yn sych. Cymerer helaethrwydd o nodwyddau, pinau, edafedd llîn, cotton balls, edef wlân, llygaid a bachau, botymau, *tapes*, siswrnau, cyllill a ffircs, llwyau, a'r pethau cyffelyb a feddylioch; nid am nad yw y pethau hyn yno, ond o herwydd bod eu cludiad mor hawdd, ac yn llawer rhatach yma. Gwell bod y mwyrif o'r dillad gwedi eu gwneuthur neu eu torri cyn cyrhaeddir New Orleans, rhag y drwgdybir chwi o fod yn bwriadu eu gwerthu, ac felly eu colli.

DODREFN TY, &c.

Yn hytrach nâ rhoi y pethau canlynol, na'u gwerthu am hanner pris, gwell eu cymmeryd gyda chwi: crochan neu ddau, tea-kettle, saucepan, fryingpan, a llestri china da, neu blates a basynau, i'w defnyddio ar y môr, er mai mwy cyfleus fydd rhai tin: haiarnau tân, os da fyddant, a chanwyllbrenau prês a fyddant yn

ddefnyddiol wedi cyrhaedd yno, i'r rhai a feddant fodd i'w cludo. Doeth a fyddai amgylchu y cistau y tu fewn â *sheets tin* da, er cadw gwlybaniaeth draw, ac yna gellir gwneuthur llestri o hono ar ben y siwrnai.

WRTH Y RHAI A ANT YN Y CWMPEINI £13.

Dywedwn na chaniatâ rheolau yr ymfudiaeth iddynt hwy gael cario yn y wageni dros y tir ond cant pwys yr un, heblaw eu lluniaeth; o ganlyniad galluogir hwy, yn ol yr uchod, i ddetholi y dillad mwyaf defnyddiol i wneyd i fynu y pwysau hyny. Ni chynghorem y dosparth hwn i fyned â cistau, oddieithr rhyw un mewn teulu; canys gallant gludo eu pwysau o ddillad, neu rywbeth arall a ddewisant. Ceir cydau o liain wedi eu paentio, neu eu hoilio, a gadwant wlybaniaeth allan. Ni raid i ni yma ymhelaethu ar ammodau y Gymdeithas ragorol hon, na'i manteision; ceir hyny yn yr UDGORN, cyfiethedig o'r *Star*. Da a fyddai i bawb ymfudwyr fyned ag ychydig o fara ceirch gyda hwynt, a phickles, a rhyw fwydydd ffansiol ereill yn ychwanegol at yr hyn a ddarperir iddynt yn y llong.

---

## CYMMANFA MERTHYR.

### CRYNODEB O'R HYN A WNAED AC A DDYWEDWYD YN Y GYMMANFA UCHOD.

[Parhad o dud. 29.]

Y LLYWYDD Jones a alwodd ar y Llywydd Richards, o Liverpool, i gyfodi; yr hwn, yn mysg llawer o bethau da ereill, a ddywedodd hefyd a ganlyn:—"Da genyf gael y cyfleusdra hwn, a'r fraint hon, o'ch anerch chwi, anwyl Saint, yn Nghymru fynyddig. Amryw a arferant ddywedyd eu bod yn dymuno "Nadolig llawen" y naill y llall; ond yr wyf fi yn dymuno Nadolig da i chwi, Saint, oddiar deimladau uwch ac ardderchocach nag arferiad neu ddefod, gan ewyllysio i chwi Nadolig llawen—y llawenydd sydd yn yr Ysbryd Glân. Teimlwyf yn llawen am a aeth heibio—am yr hyn a wnaed ac a gyflawnwyd gan Dduw ynoch a thrwoch; a theimlwyf hefyd yn ddiolchgar i Dduw am fod i mi sail dda i ddysgwyl daioni mawr i ddyfod. Mae yr Arglwydd yn cyfranu i ni fendithion nefol ac arbenig; a dylai hyny gael dylanwad nefol ac arbenig ar ein holl deimladau a'n hymddygiadau yn nghyflawniad ein ham-

rywiol ddyledswyddau, Nid am ein bod yn well nâ phobl ereill y cyfranodd Duw i ni y fath dystiolaethau o'i foddlonrwydd ag a dderbyniasom, eithr ei raslonrwydd Ef, a thiriondeb ei dru garedd Ef ydyw cyflawni ei addewidion yn Nghrist Iesu ein Harglwydd i'r rhai oll a ufyddhaont i'w orchymynion, i'w efengyl, ac i holl air ei wirionedd. Trwy ufyddhau i,r gwirionedd caiff y gwirionedd ddylanwad bendithiol a graslawn ar ein holl deimladau, a bydd iddo ein hennill i'w garu; a dylem garu y gwirionedd er ei fwyn ei hun; nid am y gorfoda ef ein gelynion i gwympo a gorwedd wrth wadnau ein traed, ond am mai gwirionedd yw, am ei fod yn alluog i achub ein gelynion, ac i fod yn iechydwriaeth i ni, i'n perthynasau, i'n cymmydogion i'n cyfeillion, i'n gelynion, ac i bawb; y mae genym achos i fod yn llawen, ac yn llawen iawn, oblegid y ceir yn ein meddiant y fath allu grymus i fedru gwneuthur daioni i'r teulu dynol, trwy ein hargymhell i ymdrechu llesoli pob dyn a ddichon i ni gymdeithasu ag ef, mewn unrhyw gwrr, ac yn mhob cwrr o'r byd mawr eang oll; a phan y cyfarfyddom â dyn y byddo ei feddwl yn ddiragfarn, a'i galon yn onest ac agored i dderbyn y gwirionedd pan ei ceir, nis gellir amgyffred y llawenydd a ddeilliai i ni trwy gael y cyfleusdra hyfryd i arddangos y gwirionedd i'r dyn gonest hwnnw; a'r llawenydd hwn, rhodd Duw ydyw. Gan hyny, dylai fod genym ffydd, ffydd gyfan, ffydd gadarn i gredu'n berffaith y bod gan Dduw hawl gyfreithlon i'r gwirionedd, a bod ganddo hefyd hawl gyfreithlon i'w ddadguddio, i'w wasgaru trwy ein hymdrechiadau dyngarol ni; ac i gredu, heb amheu dim, y bydd i Dduw ein bendithio ni yn ein hymgais daionus at lesu dyn.

*(I'w barhau.)*

---

## ARWYDDION YR AMSERAU.

Ystyrir fod golud Lloegr a Chymru oddeutu 4124 o filiwnau punnoedd. Treiglir yn fasgnachyddol, *bob dydd*, yn Llundain, tros 4 miliwn; ac yn yr holl deyrnas tros 122 miliwn. Pe rhifid yr arian a dreiglir mewn *un diwrnod*, yn unol â 60 punt yr awr am bob awr y dydd, cymmerid oddeutu 8 mlynedd o amser. Mae cost yr holl lwythau coed, cyn dechreu adeiladu

rhyfel, o'r radd gyntaf, yn 15,000 o bunnau. Telir yn flynyddol at gynnal milwyr, llyngeswyr, a magnelwyr, tros 16 miliwn, ac o lôg am arian a fenthycwyd yn amser rhyfel, 28 miliwn: tra miloedd o weithwyr medrus a diwyd yn ffaelu cael cyflogau digonol at gynnal eu teuluoedd yn gysurus, a miloedd ereill allan o waith. Eithr yn Utah, Tiriogaeth Saint y Dyddiau Diweddaf, ceir digon o waith, cyflog, ac ymborth, ynghyd â phob anghenrheidiau ereill, heb orfodi neb i gynnal rhwysgfawredd pendefigion. Telir i'r Eglwys Wladol dros 5 miliwn y flwyddyn, ac i'r parchedigion ereill dros 3 miliwn ; tra nad yw holl lanau a chapeli ein teyrnas ond llai nag 20 mil i fwy nâ 18 miliwn o bobl, nad oes eu hanner yn ceisio myned iddynt ; ac heb ond un plentyn o bob 14 mewn ysgol ddyddiol ; eithr yn Utah yr adeiledir ac y llenwir y lleoedd addoli gan y bobl yn wirfoddol, ac y mwynheir pob cangen o ddysgeidiaeth gan blant pawb fel eu gilydd.—Rhagfyr 19. Ennillodd y Tyrciaid fuddugoliaeth fawr ar y Rwssiaid yn agos i Khalafat, er fod nifer y Rwssiaid yn 30 mil, ac felly yn llawer lliosocach nâ'r Tyrciaid. Dywedir i drigolion Wallachia Leiaf droi yn erbyn y Rwssiaid, a darfod i'r oruchafiaeth sicrhau pleidiaeth y rhanau hyny o'r wlad ag oeddynt yn petruso ymuno : perodd hyn orfoledd penfrwd yn Constantinople, nes braidd anghofio llosgiad y llongau yn Sinope. Ennillasant amryw frwydrau yn Sistown, ac ar y Danube, gyferbyn â Ischatchka a Matschin.—Rhagfyr 29. Daeth eirchion fod i'r llyngesau, Lloegr a Ffrainc, fyned i'r Môr Dû yn ddiattreg ; ac erbyn machludiad haul nid oedd ond un llong o bob llynges yn y Bosphorus. Anfonwyd cyfarwyddiadau, heb oedi, fod i'r Cadlywyddion Tyrcaidd ddwyn y rhyfel yn mlaen gyda phob egni yn eu gallu o fewn Ewrop ac Asia. Os dygwydd i Luders, y cadfridog Rwssiaidd drosi y Danube yn Matschin, syrth y Tyrciaid yn ôl ar walfur Trajan, gan ymestyn o Czernavoda i Kostendjii.—Ionawr 6. Ymosododd dosparth Tyrcaidd, yn 15 mil eu nerth, gyda 15 darn o fagnelau, ar sefyllfa warchaeol Citale, nid pell o Kalafat, a chymmerwyd hi. Collodd y Rwssiaid 2,500 o wŷr yno ; ac er anfon 18,000 o Karaul i gyfnerthu y lleill, gorfuwyd hwy i gilio, gyda cholli 250 o wŷr. Pan gynnygiodd y galluoedd cyngreiriol am adnewyddu ammodau heddwch rhwng Twrci â Rwssia, cefnogodd blaenor y grefydd Mahomedanaidd hyny, gan ddywedyd,

"Yr ydym yn addoli Allah, un Duw. pen y gyfraith. Y Cristionogion, hwythau, ydynt yn addoli un Duw, yr hwn yw ein Allah ni. Gan hyny dylem eu hystyried fel ein brodyr, am na ddylid, medd y Koran, ddodi yr enw anffyddiwr ond ar y personau hyny nad addolant yr Unig Dduw."—Wedi Rhagfyr 29, bu 40,000 o wŷr y Rwssiaid yn Walachia. Parotôant ddwy weryllfa o wŷr meirch, yn cynnwys 10,000 o wŷr bob un. Y magnelwyr, mewn un lle a feddant 100, ac mewn lle arall 120 o fagnelau. Symudiadau y Rwssiaid ydynt fawreddog; ymdaith y catrodau tan Osten Sacken sydd yn mlaen trwy ganol rhew: y rhai yn Walachia Leiaf a ymdeithiant yn dair colofn; a'r rhai sydd i weithredu yn erbyn Khalafat yn 22,000.—Terfysg sydd yn yr India; mae gan un penaeth, ger Meaday, 10,000 o wŷr, a chan un arall rym mawr o wŷr ger Pegu. Mynegir fod gan y terfysgwyr Burmesaidd gasgliad o 140,000 o wŷr arfog. Bu'r gweithrediadau yn erbyn yr Afredees, rhwng Peshawur a Kohat, yn llwyddiannus. Mae lluoedd y fyddin yn chwyddo: y gwŷr traed Ewropaidd a genedigol yn 9,800; a'r gwŷr meirch, 2,459: meirch a thraed fagnelwyr ydynt 1,100 o wŷr, 48 magnelau; a 100 o flaen-ddrylwyr, yn gwneyd 13,250 o wŷr, a 48 magnel: yr hyn, fel y bernir, sydd ddigon i ysgubo Affghanistan o'r Khyber i Khorassan, ac yn ol drachefn. Yn y dygwyddiad o ryfel â Rwssia, mwyheir catrodau Peshawur, a'u dodi dan lywyddiaeth Arglwydd Frederick Fitzclarence. Moddïon eu mwyhau ydynt wrth law, trwy fod eisioes 60,000 o wŷr meirch yn Punjaub.—Yn China, hefyd, y mae terfysgoedd mawrion; ymladdir, fel arfer, yn Amoy a Shanghai, a'r terfysgwyr, yn y lle olaf, a gawsant afael ar lawer o drysorau a guddiwyd gan yr awdurdodau diweddar: yr oeddynt yn ei ddefnyddio trwy logi ac arfogi llongau Ewropaidd, fel y mae yn awr lyngesau masgnachol o'r ddwy ochr. Un Mr. Reynolds a ddaliwyd yn ddiweddar gan bleidwyr yr amherawdwr, tra yn cludo moddion rhyfel i'r teyfysgwyr; torfynyglwyd ei ddynion, a chawsai yntau dori ei ben, oni bai i'r morwyr Ewropaidd yn ngwasanaeth yr amherawdwr fygwth ymadael oll oddigerth ei ryddhau; a chaniatawyd iddo ddychwelyd i Shanghai. Mae Canton yn llonydd; eithr anfonwyd llu o filwyr i Tongkoon, lle cyfagos, am fod yno wrthwynebiad egniol i'r llywodraeth, a cheir trafferth i'w tawelu. Y terfysgwyr a lenwant

Hopih e'lwaith, gwedi lladd llaweroedd ; y maent yn Oonan hefyd, er i'r lle eu gwrthsefyll gynt.—Llawenyched y Saint am fod ganddynt le tawel i ddianc iddo rhag y dinystr sydd ar ddyfod. Mawr y gweddio sydd am lwyddiant ar eirf gwrthbleidiau ymladdgar; ac er lleied rheswm a ddichon fod gan yr Indiaid a'r Chiniaid tros weddio ar eu gwahanol dduwiau, llai fyth sydd gan bobl Twrci a Rwssia tros weddio am i'r un Duw eu llwyddo i ladd eu gilydd, er yn wahaniaethol eu crefydd: ond mewn perthynas i Ffrainc a Lloegr â Rwssia, rhaid y byddai rhyfel rhwng Mair y Forwyn, Iesu Grist, a'r Tad, cyn y gellid eu llwyddo oll. Gweddi y Saint sydd am lwyddiant ar yr arfau nad ydynt gnawdol; yn ëangu ystafell y weddi gyfled â'r byd, gan gofleidio pawb ac ewyllysio yn dda i bawb yn gyfanswm, fel y gogonedder Duw yn achubiaeth bywydau dynion yn awr ac am byth bythoedd.

---

## DYLEDION CANGENAU CYNNADLEDD DDWYREINIOL MORGANWG AM LYFRAU, HYD RHAGFYR 13, 1853.

Y swm gyntaf ar ol enw pob Cangen sydd am lyfrau Cymraeg, a'r ail swm am lyfrau Saesneg.—Pendeulwyn, 1s; Twynyrodyn, 1s. Eglwysnewydd, 2s;—£2 5s 10¾c. Pontfaen, 13s 11c;—£1 16s 7¼c. Caerdyf, £5 18s 6c;—£5 18s 10c. Pontytypridd, £2 14s 2c;—£2 13s 1½c. Llanfabon, 13s 0½c;—6s 5½c. Aberdâr (Cymreig), £14 11s 2c;—£3 1s 4½c. Aberamman, £6 11s 0½c;—£6 11s 9c. Cap Coch, £1 1s 1c;—6s 10½c. Dowlais, £8 9s 8½c;—£1 7s 1c. Hirwaen, £1 6s 6½c;—£2 19s 1c. Cwmnedd, 16s 4c. Rymni, 8½c. Georgetown, 15s 5c. Merthyr, £9 1s 4½c;—£6 15s 2c. Pendaren, £6 11s 4c;—£2 15s 6c. Cefn, £3 15s 11c;—£2 7s 6c. Gwernllwyn, £2 14s 5c;—6s 11c. Ffynnon-Tydfil, £3 18s 9½c;—£2 2s 8½c. Troedyrhiw, £1 2 0½c;—13s 9½c. Cwmbach, £3 5 9½c;—£2 18s 4c. Twyncarno, 1s 5c Llandaf, 19s 7c;—18s 3c. Ynysgau, £1 3s 6½c;—£6 18s 7c. Rymni (Saes,), 12s 11c;—£5 9s 3½c. Gellifaelog, £2 2s 2c;—£8 10s 3c. Aberdâr (Saes.), £1 13s 5c;—£11 14s 4c. Llanilltyd, £0 0s 0s;—17s 6¼c. Gog, £0 0s 0c;—17s 8½c.—Cyfanswm, £89 18s 3¾c;—£80 14s 4¼c.

---

## CYNNWYSIAD.



---


MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 4.] IONAWR 28, 1854. [CYF. VII.

## DAMMEG Y BONEDDWR A'I FAB.

AR foreu goleu, hyfryd a nefolaidd, cyn tewynu o'r haul, lloer na sêr, boneddwr cyfoethog a duwiol a ymwelodd â'i fab, yr hwn pan ei canfyddodd a redodd i'w gyfarfod, ac a'i croesawodd yn anwylaidd i'w balas.

*Tad.*—Fy ngofal am danat ti a'th deulu, o herwydd y berththynas anwylaidd sydd rhyngom, a'm cymhellodd i dalu ymweliad â thydi fy mab; ac yn awr galw dy holl deulu ger fy mron, fel eu gwelwyf ac y gwnelwyf iddynt ddaioni.

*Mab.*—Gyda llawenydd mawr yr ufyddhaf i'ch arch yn hyn, fy anwyl dad, a diau mai pleser mawr a fydd ganddynt hwythau oll eich cyfeillach, am yr anrhydeddant chwychwi megys fy hunan.

*Tad.*—Wele, canfyddaf y bod dy deulu wedi lliosogi yn fawr, nid oes le cyfleus i gynnifer yn dy gyffiniau; heblaw y dylit ddarparu iddynt, fel teilwng wrthddrychau dy ofal, bob dysgeidiaeth ac ystadau erbyn y tyfant i oedran, y dewisant hwythau ymbriodi a lliosogi eu heppil; canys yn gwneyd hyny mae eu dedwyddwch yn gynnwysedig.

*Mab.*—Gyda theimladau dyledus i'm hanwylaidd deulu cydnabyddaf hyn oll, a gwnaethym hyd y mae defnyddiau genyf.

*Tad.*--Dy anghenion hyn, fy Mab, ni ddiangasant rhag treiddiad golygon gofalus dy Dad; eithr mewn pryd daethym i wneuthur i fyny dy anghenion, trwy gyflwyno i ti ac i'th had y *freintlen* haelionus a ddaliaf yn fy llaw, yr hon sydd gyffelyb

i'r un a roddwyd i mi gan fy Nhad; wrth yr hon y deallir fy mod yn rhoddi i ti ac i'th blant, yr holl wlad hono ag sydd yn eiddof fi tu draw i'r môr mawr. Y mae hi yn awr yn anialwch afluniaidd, ond trwy fyned yno a'i darostwng, gellir ei gwneyd yn ystadau gwychion, a digon eang i'th blant i eppilio eu rhywogaeth a fynont. Gan fod dy blant yn awr yn rhy ieuainc i oddef cyfnewidiad y tywydd a throsglwyddiad mor bell, gâd hwy yma gyda mi, a myfi a fyddaf yn Dad iddynt yn dy absennoldeb, a'u dysgaf ac a'u parotoaf erbyn dy ddychweliad, ar yr ammod mai os trosglwyddi di ammodau y freintlen hon, ac anghofio dy deulu, eiddof fi a fyddant.

*Mab.*—Llawenychech fy nghalon drwy eich hymweliadau blaenorol, fy haelionus Dad, eithr eich ymweliad olaf hwn a ddyrchafa y guddlen o'm blaen, nes para y golygfeydd ffyddiog o'r darpariadau gogoneddus a gynnygiwch i mi ac i'm had orfoleddu wrth wrando ar eich geiriau, a pharod wyf i fyned yn ol eich gorchymyn.

Boddiodd y cynnygion hyn yr holl deulu mor fawr, fel y cydganasant gan orfoledd. Wedi i adleisiadau eu lleisiau ar uchel furiau y palas ddystewi, ychwanegodd y Tad, gan ddywedyd :—

*Tad.*—Os bydd i ti, fy Mab, gael dy oddiweddyd gan demtasiynau y wlad newydd yr ai di iddi, fel i droseddu yn fy erbyn, rhoddaf i ti y cynnyg i ymadferyd. Os dy etifedd di, *yr hwn fydd eiddof fi ar ol* dy droseddiad di, os efe a ddaw i'r wlad hon ar dy ol di, ac a gyflawn ufyddha i'r oll a gynnwysir yn ammodau y freintlen hon; yna wedi yr ufyddhäo felly, ac y cwblhäo yr holl waith, myfi a adferaf i ti ac i'th hâd, er ei fwyn ef, yr oll a addewir yn y freintlen.

Y Mab wedi gorchymyn ei deulu i ofal ei Dad, a'u hannog oll i ufyddhau iddo megys ag iddo ef ei hun, a gymmerth ei wraig gydag ef, a fordwyodd dros y môr mawr, ac a diriodd yn ddiangol yn y wlad bell. Wedi bod yno dalm o ddyddiau, effeithiodd ffrwythau y wlad ar eu cyfansoddiadau nes achosi iddynt anghofio eu cartref a'u teulu ynghyd, a'r dyben o'u dyfodiad i'r wlad bell: ac wedi crwydro o honynt yno yn hir, aeth eu Tad yno i chwilio am danynt, eithr hwy gan na chofient ef, a ddychrynasant ac a ymguddiasant; yntau a floeddiodd arnynt o bell, gan ddywedyd, beth a achosodd y dyeithrwch hyn

ynoch? Er hyny dychwelwch, y mae genyf etto newyddion da i chwi; sef, os gwnewch chwi fel y ceisiwyf, ac ar yr ammod o fod fy etifedd i, fy mab hynaf a berthyna i'r teulu a fwriadaf fudo i'r wlad hon atoch, yn gwneyd pob peth yn ol a geisiaf ganddo; er ei fwyn ef adferir chwithau hefyd i feddiant parhaus o honi, ac i'ch hâd. Gwn trwy adnabyddiaeth bersonol ag ef, mai bachgen cywir galon ac ufydd yw efe, ac ni ddaw efe yma o dan gymmaint anhawsdra ag y daethoch chwi: gan hyny, dychwelwch yma, a gwnaf i fwy lles ddyfod o hyn nâ phe nas dygwyddasai. Hyn a'u calonogodd i ymsefydlu yn ol y cyfarwyddiadau a gaent o bryd bwy gilydd, ac i fyw mewn gobaith o'r addewidion a roddid iddynt.

Yn awr, y ddamneg sydd wirionedd, a phwy a'i dehongla?

Gofyniad 1af. Pwy yw y personau cyfeiriedig ynddi?

2il. Pa le oedd y palas lle y cyfarfuant, a phwy y gwyddfodolion?

3ydd. Ai priodol i'r person cyntaf alw mab y llall yn fab *iddo ef ei hun?*

4ydd. Pa fan yw y "wlad bell," a pha fodd yr effeithiodd eu ffrwythau felly arnynt, ydynt gwestiynau pwysig, pwy a'u hatebant trwy yr UDGORN?

---

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL

*Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, a gynnaliwyd yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Fawr, gan ddechreu Hydref 6, 1853, am 10 o'r gloch yn y boreu. Y Llywydd* BRIGHAM YOUNG *yn llywyddu.*

[Parhad o dud. 44.]

HYN sydd arddangosiadol o deimladau rhai a groesasant y gwastadedd y tymmor hwn. Fy nghynghor i chwi ydyw, Ewch a bedyddier chwi er maddeuant pechodau, a chychwynwch o'r newydd, fel na orchfygo temtasiynau chwi etto; gorphwyswch ac ystyriwch, fel na orchfyger chwi gan yr un drwg yn ddiarwybod.

Yn y lle cyntaf, os adfedyddir chwi er maddeuant pechodau, ysgatfydd y gellwch dderbyn etto ysbryd yr efengyl yn ei ogoniant, ei oleuni, a'i brydferthwch; ond os yw eich calonau wedi eu brashau o'r fath yn mhethau y byd hwn fel nad ydych chwi yn gwybod a oes arnoch angen eich adfedyddio ai peidio,

gwell a fyddai i chwi gau eich hunain i fyny mewn rhyw waichae neu gell auedig, i edifarhau am eich pechodau, a galw ar enw yr Arglwydd, hyd nes y caffoch ei Ysbryd ef, a'i oleuni perthynol i adlewyrchu arnoch, fel y gwybyddoch natur eich camweddau, a'ch gwir sefyllfa ; fel y galloch sylweddoli a gwerthfawrogi y fendith a fwynheäch o fod yma gyda Saint y Goruchaf.

Gadawer i mi arwain eich meddyliau ychydig yn mhellach. Ewyllysiwyf ddywedyd i chwi rywbeth y dichon eich bod chwi efallai yn ei wybod gystadl a myfi, eithr y dichon hefyd na bu i chwi ei sylweddoli. Pan fyddo yr Arglwydd Hollalluog yn agor gweledigaeth meddwl dyn, y mae ef yn dangos iddo bethau yr ysbryd ; pethau i fod. Os cafodd neb o honoch weledigaeth o Seion, dangoswyd hi i chwi yn ei phrydferthwch a'i gogoniant, fel y bydd pan fyddo Satan yn rhwym. Os adfeddyliasoch ar ymgasgliad y Saint, ysbryd yr ymgasgliad oedd a'ch goleuodd chwi ; a phan oedd eich meddyliau wedi eu hagoryd mewn gweledigaeth i weled gogoniant ac ardderchawgrwydd yr efengyl, nis gwelsoch y weledigaeth o yru anifeiliaid ar draws y gwastadoedd, a'r lle y caffech eich lleidio yn y twll cleilyd hwn neu acw. Ni welsoch y *stampedes* yn mhlith yr anifeiliaid, a hyny o waeth cymmeriad yn mysg y bobl ; ond chwi a welsoch brydferthwch a gogoniant Seion, er eich annog a'ch parotoi i gyfarfod cystuddiau, cwynion a siomedigaethau y bywyd marwol hwn, a'u gorchfygu hwynt, a chael eich gwneyd yn barod i fwynhau gogoniant yr Arglwydd megys ag ei dadguddiwyd i chwi. Rhoddwyd hyny i chwi er eich annogaeth. COFIWCH HYN YNA.

Chwi a gofiwch fy nghynghor i'r rhai hyny sydd a chanddynt foddion ; y mae arnom eisiau iddynt roddi codiad i'r Drysorfa Ymfudol Barhaus. Dygwch i mewn eich degymau a'ch offrymau, a ni a gynnorthwywn lawer iawn yn ychwaneg i'r lle hwn yn yr amser dyfodol, nag a wnaethom y flwyddyn hon. Yr ydym yn ewyllysio dyblu ein diwydrwydd, a mwyhau torf yr ymfudwyr yn driphlyg trwy y Drysorfa hon.

Ewyllysiwyf ddangos i chwi ychydig o philosophyddiaeth y natur ddynol yn ei sefyllfa syrthiedig a diraddiol ; gellwch ei ystyried yn yr efengyl neu allan o honi ; yn ngoleuni yr Ysbryd Glân, neu hebddo, fel y byddo foddhäol genych. Phi-

losophyddiaeth dynolryw, yn eu galwedigaethau dyddiol, a ellwch oll ei wybod i chwi eich hunain, trwy eich sylwadau a'ch un ymarferiad eich hunain. Ewyllysiwyf grybwyll y gyfran o hono a ddaeth o dan fy sylw i. Gallwn grybwyll enwau, eithr boddlonaf fy hun gydag enwi amgylchiadau.

Ni a bigwn i fyny, dyweder 200 o bersonau yn Lloegr, a chludwn hwy tros y dwfr a thros y gwastedoedd, gan eu dodi i lawr yn y dyffryn hwn. Dechreuant ymsefydlu, ac mewn ychydig amser gwnant eu hunain yn gysurus, Gallant yn fuan gael digon o'r fath oreu o daliad am eu llafur, megys bara, (ffon bywyd) ymenyn, caws a llysieufwyd. Pan gaffo dyn y pethau hyn, heb y coegfelus ddanteithion y mae yn gwneyd yn dda.

Tybier ein bod yn pigo i fyny gwmni o'r Saint tlodion hyn yn Lloegr, y rhai sydd a'u gwynebau yn welw, a'r rhai nas gallant ond prin droedio eu ffordd trwy yr heolydd o eisieu ffon bywyd ; gellwch eu gweled wedi eu crymu i lawr o wir wendid, gyda eu breichiau ar draws eu cylla, yn myned at ac oddiwrth eu gwaith; nas gall y rhan amlaf o honynt gael tamaid o gig ychwaneg nag unwaith yn y mis: ac ar gyfartalwch heb ond oddeutu un llonaid llwy fwrdd o flawd y dydd, i bob person mewn teulu. heb ymenyn na chaws, er gweithio 16 o oriau allan o'r 24 ; a phan elont at eu gwaith neu y dychwelont oddiwrtho, y maent mewn angen ffon i bwyso arni. Ni a ddygwn 200 o honynt yma, ac yn lle eu bod yn rhwymedig i weithio am ddwy neu dair ceiniog y dydd, gallant gael dolar neu ddolar a hanner y dydd. Gyda chyflog un dydd gallant brynu digon o flawd a chig a llysieu-fwyd i barhau wythnos i deulu o nifer gyffredin.

* * * * * * * *

Yn awr, mae arnom eisieu i'r goludog droi i mewn eu moddion, fel y gallo'r tlodion, y tlodion *gonest*, gael eu gwaredu. Dichon i rai o honoch ymholi a ydym yn ewyllysio anfon y moddion i Loegr yn awr? Ydym! y mae arnom eisieu y moddion yn awr ; yr hyn a ellir ei ddefnyddio y tymmor nesaf. Y mae arnom ni eisiau rhoddi codiad pwysfawr i ymfudiad y tlodion, y tymmor nesaf. Nyni a ddygasom allan nifer go fawr y tymmor hwn, eithr prin y maent yn ddechreuad, i'r hyn yr ewyllysiem eu bod i'w dwyn allan y tymmor nesaf.

Dyledswydd gyntaf y rhai hyny a gawsant eu dwyn allan

gan y Drysorfa Ymfudol Barhaus, ydyw talu yn ol yr hyn a dderbyniasant o honi, ar y cyfleusdra cyntaf, fel y gallo ereill dderbyn yr unrhyw gymmwynas ag a gawsant hwy. Ewyllysio yr ydym, yn y lle blaenaf, i chwi gael rhywbeth i'w fwyta, i'w yfed. ac i'w wisgo; eithr pan y byddoch mewn unrhyw ffordd yn gysurus, ewyllysiwn i chwi dalu y ddyled yna y peth nesaf a wneloch, ac adlenwi y Drysorfa.

Y mae hi wedi ei hadeiladu ar egwyddor, os ei dygir allan yn briodol, a'r dyledion eu had-dalu yn fanwl, y bydd iddi gynnyddu mewn cyfoeth. Buasai y 5,000 doleri a anfonwyd i'r tlodion bedair blynedd yn ol, pe buasai pob dyn wedi bod mewn parodrwydd i dalu i mewn yr hyn a dderbyniodd, wedi eu cynnyddu i 20,000, o ddoleri.

Nyni ydym y rhag-fasgnachyddion mwyaf yn y byd. Mae genym ar law y rhagfasgnach fwyaf a ellir ei chael ar yr holl ddaear. Ni wadais i erioed fy mod yn rhagfasgnachydd. Ni wadais i erioed fy mod yn gybydd, neu yn teimlo awydd am oludoedd; ond rhai dynion a erlyniant bum mil o filltiroedd ar ol chwe' cheiniog, pryd na byddai i mi droi o'm hamgylch am dano, ac etto yr ydym bregethwyr yr unrhyw efengyl, a brodyr yn yr unrhyw deyrnas Duw. Dichon i chwi ystyried fod hyn ychydig yn gryf; ond y rhagfasgnach yr wyf fi ar ei hol, ydyw i gyfnewid y byd yma, yr hwn yn ei gyflwr presennol sy'n myned heibio, am fyd sydd yn dragywyddol ac yn anghyfnewidiol, am fyd wedi ei ogoneddu a'i gyflenwi gyda goludoedd tragywyddol, ac am fyd a wnaed yn etifeddiaeth i Dduwiau tragywyddoldeb.

Mae y cynllun am wneyd i bob peth blygu i ddadguddiadau Duw; gwrthrych ein hoffeiriadaeth ydyw dwyn i ymofyniad bob peth da, a gwneyd iddo gyd-ymddwyn er cyflawniad y prif bwynt sy genym mewn golwg; a phan y bydd i ni fyned trwodd, ni a gawn fedi o wobr y cyfiawnion, a chael yr oll a all ein calonau ddysgwyl neu ddymuno. Gosod cynlluniadau er cyrhaeddyd hyn, sy lawn mor anghenrheidiol ag ydyw i fasgnachydd osod cynlluniadau at gaffael golud daearol, trwy brynu a gwerthu masgnach. I ni y mae gosod cynlluniadau at sicrhau i ni ein hunain fywydau tragywyddol, yr hyn sy lawn mor anghenrheidiol ag ydyw i'r cybydd osod cynlluniadau

at bentyru swm mawr o aur ar y ddaear; ac y mae genym i ymrwymo ynddo wrth reol a threfn.

Dywedyd yr wyf wrth y tlodion, TALWCH EICH DYLEDION I'R DRYSORFA YMFUDOL BARHAUS; ac wrth y rhai goludog, CYNNORTHWYWCH Y TLODION; a bydd i hyn ddwyn cyfoeth a nerth gan bob un, yn gyfunol â'i allu, ei alwad, a'i foddion, trwy gynnorthwyo yn mhob pwynt a lle yn y rhagfasgnach fawr hon am deyrnasoedd, gorseddau, tywysogaethau, a galluoedd. Dywedir fod undeb yn nerth, a hyny sy ddigon; os cawn hwnw, ni a gawn allu. Hwn yw y cynllun i ni weithio wrtho, ac ewyllysio yr wyf i'r brodyr sibrwd hyn oddiamgylch yn mysg eu cymmydogion pan yr elont allan o'r Tabernacle hwn, a dywedyd, pa beth a allwn ni ei roddi i'r Drysorfa Ymfudol Barhaus? A allwn ni roddi unrhyw beth y tymmor hwn? Ni bydd i ni wrthod cymhorth gan y chwiorydd. A ydych yn gofyn pa mor fychan y swm a gymmerwn? Nyni a gymmerwn o bin fach hyd i frwyddyn gwely; ond byddwch chwi sicr, pan y dygoch bin, nad oes genych lawer o bethau eraill yn eich cistiau a fyddent ddefnyddiol, yn ychwaneg nag y sydd arnoch yn bresennol eu hangen; canys os pin a ddygwch o dan y fath amgylchiadau, nis gellwch dderbyn y fendith, na'r wobr sy gan ddoch hawl iddo. Os y dillad a wisgwch bob dydd yw yr oll sy genych, ac arnoch anghen benthyca gwddflen i fyned allan ynddi, ac heb genych ond pin i anrhegu, dygwch hono, a chwi a dderbyniwch fendith.

Yr ydym yn meddwl nad yw yn angenrheidiol rhoddi i chwi adroddiad y Drysorfa Ymfudol Barhaus yn y Gymmanfa hon. Y mae yn gwneyd yn dda; eithr y mae arnom eisieu iddi wneyd llawer iawn yn well. Mae arnom eisieu chwyddo y gweithrediad, a dwyn tlodion oddiwrth y cenedloedd wrth yr ugeiniau o filoedd yn lle o gannoedd. Cynnwys hyn a ewyllysiwyf ei osod ger bron y Gymmanfa ar y pwnc hwn.

Cyn terfynir y Gymmanfa nyni a gawn alw am gryn nifer o henuriaid. Dysgwyliwyd y galwasid ein cenadon yn Nghymmanfa Awst y flwyddyn hon; ond nyni a alwn nifer go fawr y Gymmanfa bresennol. Nid oes anghen i chwi ymofyn i ba le y mae arnom eisieu i chwi fyned, oblegid y dywedir hyny wrthych pan y byddoch barod.

Parotowch eich meddwl a'ch amgylchiadau erbyn yr amser hwnw; canys ni a ewyllysiwn anfon yr efengyl i Israel.

Bydded i'r Arglwydd eich bendithio. Amen.

Y Llywydd H. C. Kimball, a nododd y teimlai ef yn ddiolchgar am i ni gael byw i weled y dydd a fwynhawn yn awr. Bendithiwyd ni uwchlaw holl drigolion y ddaear; yr oll sydd anghen arnom, yw gwrteithio y ddaear, ac os gwnawn *fyw ein crefydd*, a bod yn ddarostyngedig i lywodraeth Duw, newidir yr elfenau er ein daioni. Pe gwnelai yr holl Saint gystadl ag y maent yn gwybod, byddai i'r Ysbryd Glân orphwys ar henuriaid Israel mewn gallu dengwaith mwy; ac ni chymmerai ond ychydig flynyddoedd hyd oni ddelai "y diwedd." Y mae i mi wasanaethu Duw, a chadw ei orchymynion; ac os na bydd i berson gyflawni ei gyfammodau yn y byd *hwn*, bydd i Dduw *wneyd i'r person hwnw* gyflawni ei gyfammod yn y *nesaf*.. Pan gyrhaeddodd y cyn weithwyr i'r dyffryn hwn ni furmurasant, ac ni furmurasant chwaith pan ladratawyd hanner eu ceffylau gan yr Indiaid, gerllaw y *South Pass*. Llon genyf y bu i chwi y fraint o gael profiad gystadl ag y cawsom ninnau. Fy ewyllys ydyw byw yma, hyd nes y caniatäo yr Arglwydd i mi ddychwelyd i *Jackson County;* eithr nis gellwch chwi fyned yno, oddigerth y deuwch fel un gwr, a gwneyd fel y dywedir wrthych. Dywedyd yr wyf yn ëofn, ger bron Duw ac angelion, fod genyf fwy cariad tuag at y Brawd Brigham, a llawer ereill o ddynion da, nag a feddiannwyf at unrhyw fenyw ar y ddaear. Aethym gydag ef heb na chôd nag ysgrepan, ac aethym er yn newynog, yn glaf, troednoeth, ac yn amddifad o gysuron bywyd, i bregethu efengyl yr iechydwriaeth, i genedloedd y ddaear. Foneddigion, bydd i chwi gael myned trwy yr unrhyw, neu ynte nis gellwch eistedd i lawr a gwerthfawrogi yr hyn ag yr aethom ni a'r hynaf Saint trwyddo.

Mae gan bob un o honoch i gynnorthwyo y Drysorfa Ymfudol Barhaus gyda'ch cynnaliaeth, yr hon sydd un o'r bendithion mwyaf i'r tlodion, a sefydlodd yr Arglwydd erioed.

Gwedi penodi nifer o genadon i'w hanfon i amrywiol fannau, aeth y Llywydd H. C. Kimball, yn mlaen a chrybwyllodd: yr wyf yn awr oddeutu cyflwyno i chwi awdurdodau yr Eglwys, i weled a wnewch chwi eu cynnal yn eu swyddi ai peidio; ac nid ydym yn ewyllysio i chwi eu pleidio oddigerth y teim-

lwch i'w cynnal hwy. Dyma y Llywydd Brigham Young, myfi a'i cyflwynaf ger eich bron megys ein Llywydd, Gweledydd a Phrophwyd, yr hwn sydd yn sefyll wrth ben yr oruchwyliaeth hon, ac i'r hwn y mae yn ddyledswydd arnom roddi ymwrandawiad, gan aros wrth ei gynghor yn mhobpeth megys llais Duw tuag atom ni; ac nid chwarae gyda'i eiriau a'i deimladau. Buom ni oll yn arferol a chael ein ffordd ein hunain, pa un bynag ai cam ai uniawn; eithr yn awr y mae genym ni ein llywodraethu gan gynghor Duw, a gadael ein ffordd ein hunain; a hyn ydyw y rhyddid perffeithiaf, am nas gellir cyrhaeddyd rhyddid ond trwy ufudd-dod i gyfreithiau Duw. Gan hyny na phleidleiswch trosto ef, na thros neb o'r dynion hyn, oddigerth y gellwch ei gynnal ef a hwynt, trwy aros wrth ei gynghor.

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, IONAWR 28, 1854.

Y GYMDEITHAS YMFUDOL BARHAUS.—Cynlluniwyd, corffolwyd, a llywodraethir y Gymdeithas ddaionus hon, gan gyfarwyddiadau yr Ysbryd Glân i'r Offeiriadaeth Santaidd yn Seion; —ei llwyddiant anhygoel hyd yn hyn, er yn ei babandod, ac o dan lawer o anfanteision, a brofa ei bod yn gyfrwng yn llaw y Duw cadarn i gasglu ei blant gwasgaredig, gyda chyflymdra annysgwyliadwy, gan hyd y nod ei sefydlwyr anturus; a dyma sail gadarn i holl gwynfanus a gorthrymedig blant Seion trwy y byd i ddyrchafu eu penau, a sychu eu dagrau hiraethus, ac i lawenhau yn y gobaith o gael eu cludo ganddi i wlad o ryddid, i wlad iachus, i wlad ffrwythlon, ac i wlad a gynnyrcha iddynt yr oll a ddymuna eu calonau, ac i'w heppil ar eu hol, yn dymmorol ac yn ysbrydol. Eisoes y mae golygon treiddgar a ffyddiog y Saint yn canfod, er o hirbell, etto yn ei bryd, eu gwaredigaeth yn sicr trwy y Gymdeithas hon. Hon yw

'seren foreu" y ffyddiog; ei gyflwr anghenog,—lliosogrwydd ei ymddibyniaeth a'i ofal, ynghyd a'r anobaith o bob cwr, a'i gorfoda i lanhau ei yspienddrych yn fynych, ac i syllu drwy y niwl ar y Seren ddysclaer hon gyda gorfoledd. Cerbyd iachawdwriaeth, y priodol enwir hon, yn ymweled mewn trugaredd â thrigfanau yr anghenog, ac yn cludo ei miloedd i gartref cysurus. Hysbysir ni fod y Gymdeithas hon yn cludo amryw gannoedd o Frydain; yn mhlith parthau ereill, danfonir deugain o Gymru eleni; ac nid ydym yn meddwl fod hyn ond braidd megys ei dechreuad. Mae gallu y Gymdeithas hon yn gynnyddol o hyd, trwy fod y rhai a ânt yno arni yn talu yn ol; fel yn yr ail flwyddyn wed'yn y bydd ereill yn myned ar yr un arian, heblaw ei chynnyddiad trwy gyfraniadau parhaus yr eglwys yn mhob cwr o'r byd. Mae y Saint Cymreig yn deilwng o ganmoliaeth am eu haelionus gyfraniadau iddi y llynedd, ac hyderwn yn ffyddiog y profa chwyddiad eu cyfraniadau yn y tymmor hwn, eu bod yn eu hiawn brisio, ac yn darparu i ymfudo i Seion drwyddi. Mae sêl a phenderfyniad ei swyddwyr yn Seion, fel y deallir wrth hanes y Gymmanfa Gyffredinol ddiweddaf yno, yn deilwng o efelychiad pob Sant trwy yr eglwys, a phob dyngarwr trwy y byd; ymegnïwn, hynaws Saint, hyd y gallwn gyda'r Gymdeithas hon.

Mae y Saint Cymreig yn Seion, yn deffroi i'r gwaith canmoladwy o anfon am eu perthynasau a'u cyfeillion o Gymru i ddyfod ar eu hol, yr hyn a brofa welliant eu cyflyrau eu hunain drwy yr ymfudiaeth, ynghyd a'u hawydd am i'w caredigion fwynhau yr unrhyw freintiau yn Seion. Mae y mwyafrif o'r Cymry a aethant yno y blynyddoedd cyntaf, a gallai yr oll gyda diwydrwydd fod, yn feddiannol ar dai a thiroedd, ŷd ac anifeiliaid, a moddion, fel y gallant anfon am eu perthynasau megys ag y gwnaeth ereill eisoes; coffhaer hwynt yn fynych o hyn drwy lythyrau; ac ysgrifenwch yn daer a mynych, ïe, na pheidiwch hyd oni lwyddwch. Yn lle fod un o'r Saint yma yn digaloni, o herwydd fod ereill yn cael anfon am danynt o'u blaen hwy; dylent yn hytrach, lawenhau wrth ganfod y rhai hyny a ânt yn talu yn ol i'r Gymdeithas, ac felly yn nesâu eu hymwared hwythau; ac ymdrecher o hyny taerach gyda eich ffryndiau sydd yno.

Nid oes eisieu ond iawn ddeall rheoleiddiad y gymdeithas, er

canfod y rhesymoldeb o ymfudo yn gyntaf y rhai a anfonir am danynt o'r Dyffryn. Gan Lywydd y Gymdeithas y mae yr hawl i benodi pwy a gaiff ymfudo, a chaniatâ ef i'r gweddill o'r arian a gesglir yma, i ymfudo y rhai a ystyrir deilyngaf o'r fraint. Hyderwn y dewisa y Llywyddion mewn doethineb, pwy sydd deilwng, ac na fydd un ystyriaeth ond gwir deilyngdod yn ymfudo neb. Mae rhai a feddant gyfran o'r arian, yn ddynion defnyddiol i adeiladu gwlad newydd fel yw y dyffryn; etto, na aberther teilyngdod crefyddol er mwyn hyn. Gan mai *cyfraniadau* ewyllysgar yw eiddo yr oll i'r Drysorfa, afresymol a fyddai unrhyw honiadau o'r herwydd. Lleshâd yr oll, serch bod ar gost hunan-ymadawiad rhai, yw prif arwyddair Mormoniaeth yn mhob peth.

Mae genym air neu ddau o annogaeth i y rhai a ymfudant gyntaf; a hyny yw, chwi waredigion Seion, nac angofiwch eich teimladau eich hunain, tra yr oeddech yn nghaethiwed Babilon; nac anghofiwch ddyfnder y ffos y cloddiwyd chwi o honi; yr ystyriaeth o'ch hiraeth am fyned eich hunain, a'ch offhäo o'r lluoedd brodyr a'r chwiorydd ag ydynt ar ol, ac mor awyddus am ymfudo ag oeddech chwithau. Yr ydych yn myned i wlad lle y gallwch eu cynnorthwyo drwy y Gymdeithas hon. Megys y dymunech i ereill wneuthur i chwi felly gwnewch i'r rhai ni allant helpu eu hunain.

Mae cyfle rhagorol i'r neb a ddymuno i ereill gredu ei fod yn teimlo drostynt, i *brofi* hyny drwy ymrwymo i'r Gymdeithas y tala yn ol ei gludiad yn llawn pan gyrhaedda y Dyffryn, serch ei fod wedi talu cyfran o hono, neu yr oll yn flaenorol Nid yw hyn ond peth bach iawn i'w wneyd mewn gwlad fel yw Seion. Ni fydd hyn yn oedi eich ymfudiad un dydd. Deallwn fod y Saint yn Lloegr braidd oll, y rhai a ânt gyda y cwmpeini £13, a'r rhai £10, yn ymrwymo i gyfranu y cyfan i'r Gymdeithas ar ol cyrhaedd drwodd. Pe gwnelai y Cymry oll felly, gellid dysgwyl i'r un nifer ddwywaith ymfudo, drwyddynt hwy yn unig, yn mhen dwy flynedd. Ychwaneger at hyn ddychweliad cludiad y rhai blaenorol a'r cyfraniadau parhaus, a pha deulu mor lliosog neu dlawd, ar na lawenychai yn y gobaith a lewyrcha arnoch yn y meddylddrych hwn! Yn mlaen yr elom, ynte, â'n holl egni i lanw coffrau y

Gymdeithas Ymfudol, a buan y delo y dydd yn yr hwn y dygir yr olaf deulu o wasgaredigion Seion adref yn ei chôl.

---

## NEWYDDION EGLWYSIG CARTREFOL.

CYN. DDWYR. MORGANWG.—Dywenydd genym hysbysu fod y Gynnadledd hon ar ei chynnydd. Fod bedyddiadau yn fwy cyffredinol, yn enwedig yn y cwr deheuol o honi. Yn nosparth Caerdyf yn enwedig, ystyrir fod rhyw beth anarferol o le, os na fydd amryw fedyddiadau bob wythnos. Mae eu Neuadd yn rhy fach o'r hanner i gynnwys eu cynnulleidfaoedd ar y suliau, ac argoelion da mewn amryw gangenau ereill. Gwelir ymegniad adnewyddol yn gyffredinol i fyw yn ffyddlon; a'r canlyniad rhesymol yw fod Duw yn tywallt ei Ysbryd Glân ar led yn nghalonau y cyfryw rai, yn ei amrywiol ddoniau, yn ol ei addewid. Mae cyrddau blasus, a sêl a chariad yn cynnyddu yn gyferbyniol.

MYNWY.—Newyddion cysurlawn a glywir oddiyma hefyd, gan y Llywydd Daniels, yr hwn sydd newydd ddychwelyd o ymweliad trwyadl â'r Gynnadledd. Mae degau wedi eu bedyddio yn amser. ei ymweliad ef â hwy; a gwell nâ hyny, mae undeb yn parhau, a chariad yn cynnyddu yn mhlith y Saint anwyl, yr hyn yw prif faen tynfa lliosogiad bob amser. Helaethrwydd o'r Ysbryd dwyfol ag sydd yn sugn dynu serch ei garwyr i ufyddhau i'r gwirionedd, a nertho y Saint oll i i gynnorthwyo ei ddylanwadau, trwy eu hesiamplau teilwng o efelychiad pawb.

G'R. M'RGANWG.—Mae y Llywydd Robert Evans yn ymgalonogi yn barhaus mewn gobeithion, ebe fe, ac yn caru praidd ei ofal fwy fwy, po fwyaf yr ufyddhant i'w ddysgeidaeth, a chanddo argoelion fod y Saint yn ei garu yntau fwy fwy yn ol. Nid yw hyn hynod, ond treied a ammheuo, a chaiff brofion digonol fod y Saint yn caru eu Llywydd, yn gyferbyniol i'w gariad ymddangosiadol ef atynt hwy, fel yr ydym oll yn caru Duw, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni. Y mae cariad tu hwnt i gariad gwragedd, na chariad at wlad na pherthynasau, sef cariad at Seion a'i chyfreithiau; y cariad

hwn, ebe y Llywydd, sydd wedi siglo ei Gynnadledd hyd ei seiliau, ac achosi i ugeiniau ffoi yno eleni, o'i flaen. Cafwyd Cymmanfa ragorol yn Abertawe Sul cyn yr olaf, a gwnaed yr holl fusnes yno heb gymmaint ag un croes lais na chroes feddwl, ar a welsom argoel.

Llanelli.—Cynnaliwyd Cymmanfa yno y Sul diweddaf, lle y cawsom y pleser o wrando y Llywydd D. E. Jones, yn cynrychioli yr oll mewn sefyllfa dda, ac mewn undeb a chydweithrediad cyffredinol. A barnu wrth wynebau siriol y dorf liosog yn gwrando ar gynghorion buddiol y Llywydd Daniel Spencer, gellid barnu eu bod oll yn Saeson; eithr effaith sylwadau dyddorol yr Henuriad W. S. Phillips, ar ei ymadawiad â hwynt, a brofai eu bod oll yn Gymry hefyd, ac yn hoffi egwyddorion yr efengyl. Os sigla ysbryd yr ymfudiad y Gynnadledd gyfagos, gellid meddwl fod y Gynnadledd hon bron a myned yn llaprau, trwy ymfudo yn grynswth. Credem fod rhai yn aros tymmor etto, wrth eu dagrau hiraethog pan yn sôn am Seion, o herwydd eu hanallu i fyned yno gyda'r ugeiniau a gychwynant eleni.

Gogledd.—Ysgrifena y Bugail J. Parry fod pob peth yn llwyddiannus, er yn arafaidd wrth yr hyn a ddymunent ei fod. Rhai bedyddiadau mewn manau yn ddiweddar, ac addaw ychwaneg yn fuan. Pleser genym glywed y Llywyddion a'r Saint yn prophwydo mor eofn ac unfrydol, y bod llwyddiant mawr ar achos y Gwaredwr wrth y drysau—eu bod yn dysgwyl am dano yn gyffredinol a diattreg. Yr Arglwydd a roddo iddynt allu yn gystadl â dymuniad i gyflawni y brophwydoliaeth hon, drwy eu diwydrwydd yn tystiolaethu, a'u dylanwad ymfucheddol ar y gonest galon.

Ysgrifena yr Henuriad John Davies hefyd, fod ansawdd y Cynnadleddau gogleddol ereill yn graddol wellau, bod yr Offeiriadaeth yn cyd-ymdrechu, a'r Saint yn cyd lawenhau yn mreintiau eglwys y Duw byw.

---

## NEWYDDION EGLWYSIG TRAMOR.

Yn Geneva, y 25 o Ragfyr diweddaf, cynnaliwyd y Gymmanfa gyntaf gan y Saint yn Switzerland. Dangosodd y rhan *gwefyddol* o'r bobl gryn wrthwynebiad; anfonodd pregethwr

ddeiseb, wedi ei llaw-nodi gan oddeutu deg a thrugain o'i bobl at yr ynadon, yn deisyf rhwystro taeniad Mormoniaeth yn y taleithiau; ond y rhai hyny a ddywedasant, "Pe byddai y Mormoniaid yn euog o ryw droseddiadau, y mae eu gelynion yn ddigon gwyliadwrus i'w dadguddio, ac i'w llusgo ger bron yr heddgeidwaid lleol." Ac yn absenoldeb cyhuddiad o gamymddygiad i'w herbyn, dyryswyd amcanion y Parchedig erlidiwr a'i blaid.

Denmark, sydd yn wlad lled helaeth ei rhyddid crefyddol, fel ei gelwir; a llwyddiant sy'n dilyn ymdrechiadau y Saint o'i mewn. Ceir yno rai dynion ffol yn casglu at ddrysau y lleoedd addoli, gan gadw sŵn; eithr effaith hyny ydyw casglu pobl i ymholi pa beth yw yr achos o'r cythrwfl, i wybod am y Saint a'u lle addoli, i wrandaw arnynt yn pregethu, ac i gymmeryd eu bedyddio.

Yn Norway, nid oes namyn dirwy a charchar am ddarllen y Bibl, am ddysgu unrhyw grefydd wahanol oddiwrth eiddo y wlad, ac am ond enwi y gair "Mormoniaeth."

Yn Sweden, mae'r gwaith yn llwyddo er gwaethaf pob gwrthwynebiad o eiddo awdurdodau y wlad. Gwedi symud y cennadon, a'u hanfon i Copenhagen, llwyddiant sy'n dilyn hyfforddiadau y Saint. Rhwystrir i'r Henuriaid deithio ar hyd y wlad, a chyfyngir rhai o honynt yn y dref o dan lygaid chwilgar yr heddgeidwaid; a phe eu dalid yn dysgu y bobl, dirwyid hwy i 25 dolar, am bob tro yr addysgent, neu ynte, bwrid hwy i garchar chwe' diwrnod ar ugain ar fara a dwfr, a gwnaed hyn â rhai; ac ystyrir wyth niwrnod ar ugain felly, yn gyfartal i farwolaeth. Ymfudodd 678 o'r Saint o *Sweden*, y tymmor hwn. Yn yr Idal, er manwl wyliadwriaeth yr heddgeidwaid, pregethir yr Efengyl dragwyddol ar greigiau yr *Alps* i'r Waldensiaid, y rhai a ymddangosant yn gyfran o dy Israel; ac aeth nifer o honynt tua Seion.

Ynysoedd Sandwich—Mae yma lawer o Saint, a llawer yn cael eu bedyddio; yn mhlith y rhai a fedyddiwyd ar un ynys, y mae Ynad, ac un Penaeth: a bedyddiodd yr ynad bedwar ar bymtheg ar ugain, yn fuan wedi ei ordeinio yn Henuriad; eithr mewn rhai lleoedd yno, erlidir y Saint gan offeiriaid crefydd y wlad, o herwydd iachau lliaws o gleifion trwy arddodiad dwylaw Henuriaid Crefydd Crist. Cynnyddodd nifer y Saint, yn yr

ynysoedd hyn, i ychwanegiad o agos i fil o aelodau, rhwng Ebrill 6, a Gorphenaf 26. Lladdwyd tros ddwy fil o bobl gan y frech wen; ond y Saint a iacheid gan Dduw trwy weddiau. Dirwywyd ynad heddwch i 12 dolar, o herwydd iddo gefnogi rhai i guro Henuriaid tra y gweinyddent i ddyn clâf. Mae Llyfr Mormon yn barod i'r wasg yn iaith *Hawaiian;* ac y mae yno argraffwyr genedigol yn perthyn i'r eglwys. Gwrandawer y sibrwd o'r wlad a fynom, y mae "swn tyrfa yn dyfod."

---

## DEGYMIAD.

(Allan o'r Star, Rhagfyr 24. 1853.

Mae cyfraith y Degymiad yn rhwymedig ar yr holl Saint, a hyn sydd wybodus iddynt yn gyffredin. Sylwyd ar y testun hwn ei fod yn cyfansoddi un o'r dyledswyddau pwysicaf a berthyn i Saint y Dyddiau Diweddaf trwy yr holl fyd; yn Nadguddiadau Duw i Joseph Smith, yn Epistolau y Brif Lywddiaeth at y Saint gwasgaredig ar led, ac yn hyfforddiadau yr Henuriaid i'r bobl.

Yr amser addas i dalu eu Degymiad gan y rhai hyny a gofleidiant yr efengyl, ac a hawliant ei bendithion, yw pan y deuant gyntaf i'r Eglwys; a phan na chydsynir â'r ddyledswydd hon, nid yw cyfraith Duw yn cael ei hanhydeddu yn ddyladwy. Mae'r Brif Lywyddiaeth, yn eu chweched Epistol Cyffredinol, yn priodoli yr anhawsdra a gawsant wrth ddwyn yn mlaen leshâd cyhoeddus yr Eglwys, i esgeulusdod y brodyr, gartref ac oddicartref, i dalu eu Degymiad.

Yr ydym yn dymuno dwyn y testun hwn, ger bron y Saint ar hyn o bryd, ac yn neillduol y rhai na chyflawnasant hyd yma eu dyledswydd mewn perthynas i hyn. Mae yna lawer a chanddynt eiddo, ac yn aros, os ydynt yn teimlo y lles o ddwyn yn mlaen waith yr Arglwydd, y gelwir yn uchel arnynt i gyflawni y ddyledsydd hon gyda'u holl galonau. Yr ydym yn dymuno derbyn ychydig filoedd o bunnau yn Ddegwm, oddiwrth ein brodyr goludog yn uniongyrchol, fel y cynnorthwyom yr ymfudiad gydag ef y gauaf hwn. Gwnaeth y Brif Lywyddiaeth yn Seion drefniadau i ni ddefnyddio y Degymiad a dderbyniasom y flwyddyn hon oddiwrth y brodyr, at chwyddo yr ymfudiad, fel y gellir cyfeirio llafur y rhai hyny a gynnorthwyir ganddo i adeiladu y Deml, a'r gweithfeydd cyhoeddus ereill, wedi eu mynediad i'r Dyffryn. Llafur dynion daionus a ffyddlon sydd yn ofynol at adeiladu i fyny Seion a'i llesoldeb cyhoeddus, a thrwy y callineb hwn gellir troi y Degymiad a delir yma i lafur trwy anfon adref y Saint ffyddlon, y rhai sydd yn aros yn

awyddus am gael gweithio tros lwyddiant Seion. Degymiad eiddo y rhai hyny y sydd ganddynt foddion digonol at ymfudo ar ol ei dalu, yw yr hyn y gelwir genym am dano, yn annibynol o gyfraniadau a wnaed at Offrwm Trysorfa y Deml; ac yr ydym yn dymuno am i'r holl fath frodyr, a'r Llywyddion, dyledswydd y rhai yw cynghori a dwyn y mesurau hyn yn mlaen, adrodd i ni mor fuan ag y byddo modd ynghylch yr hyn a allwn ni ymddibynu ar ei dderbyn, cyn neu yn fuan wedi dibenu y tymmor ymfudol, fel y byddo i ni estyn ein gweithrediadau yn gyferbyniol.

Dichon na pharheir y fraint o gasglu y Saint gydag arian Degymiad, pan y delo rhoddiad arian yn ofynol at orphen y gweithfeydd &c., yr hyn yn fuan a fydd yr achos; a daw defnyddiau ereill yn anghenrheidiol yn lle llafur; gan hyny yr ydym yn ymddiried y caiff pob ymdrech clodadwy ei wneyd y gauaf hwn gan y brodyr at dalu Degymiad eu heiddo yn llawn, fel y byddo iddynt deimlo eu hunain wedi cael gollyngdod, mewn perthynas i hyn, ger bron Duw a cher bron eu brodyr.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

LLONGDDRYLLIAD.—Hwyliodd y llong *Sir John Tayleur*, 2200, tunelli, o Liverpool, gyda 670, o bobl ar ei bwrdd, rhwng morwyr, gan feddwl cloddio am *aur*, yn *Australia*: ond dydd Llun diweddaf cododd gryn wynt, a'r llong a aeth ar greigiau ger *Lamb's Island*, arfordir Dublin Iwerddon, a drylliwyd hi yno. Tybir i 420 foddi, ac achubwyd 250.

YR "ARWEINYDD I SEION."—Mae y rhan gyntaf o hono wedi dyfod o'r wasg, cynnifer ag a ddymuna yr ymfudwyr eleni, a drwg genym ddweyd i ni fethu dyfod ag ychwaneg o hono. Wrth y rhai a arosant ar ol, dywedwn, byddwch amynoddgar, a daw allan yn ei bryd i chwi.

---

TALIADAU O ION. 21 HYD ION. 28.—Dwyr. Morganwg, £1 15s.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street*, *Merthyr-Tydfil*.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14 CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 5.] CHWEFROR 4, 1854. [CYF. VII.

## Y DUW A ADDOLIR!—PWY YW?

Y PWYSIGRWYDD o iawn ddeall yr athrawiaeth a gyhoeddir yn y *Millennial Star*, cyf. xv, rhif. 48, a'n cymhell i wneyd y sylwadau canlynol, yn ychwanegol at y llawer a gyhoeddwyd eisoes yn yr UDGORN, o waith O. Pratt, ynghyd â llawer o fanau ereill, ar *wrthddrych* ein haddoliad.

Yn ol a ddarllenwn ni, cyd-dystia holl ddadguddiadau yr oruchwyliaeth ddiweddaf hon, a'r oll a ddarllenwn yn ysgrythyrau yr Hen a'r Newydd Destamentau, mai DUW yw yr unig wir a theilwng wrthddrych addoliad pob creadur, yn y nefoedd ac ar y ddaear; a chadarnheir hyn yn yr athrawiaeth gyfeiriedig uchod gan Brigham Young. Hyd yn hyn, ynte, nid oes wahaniaeth ynghylch pwy yw gwrthddrych eu haddoliad, rhwng Saint a sectariaid o bob math, mwy nag y sydd rhyngddynt hwythau â'r Pabyddion, y Mahometaniaid, a'r Paganiaid oll ar a welsom. Cyfaddefant oll mai *Duw* a geisiant ei addoli. Eithr ynghylch pwy neu fath yw Duw, ceir llawer o wahanol dybiau, pa rai a ymddangosant yn groes i'w gilydd. Creda y mwyrif o'r Protestaniaid, fel y dywed yr *Athenesian creed*, nad oes i Dduw " gorff, rhanau na nwydau." Eithr haera y Saint y bod Duw, ïe, " Duwiau lawer," ac i bob un o honynt ei " gorff, a rhanau o gorff," a " nwydau" hefyd. O herwydd y gredin-iaeth hon, cyhuddir y Saint o fod yn addoli person neu berson-au, a'u bod yn diraddio Duw i " fod ar lun dyn llygredig ;" gelwir hyn yn " gabledd," er mai dyfyniad ysgrythyrol yw; a

haerir ein bod yn gwadu holl-bresenoldeb, hollwybodaeth, ac hollalluogrwydd Duw, &c. Eithr ymdrechwn brofi mai camgyhuddiadau hollol ddisail yw yr oll o'r uchod. serch y byddwn wrth wneyd hyny, yn profi yn gelwyddog lawer o gymmeriadau a theitlau, a honant gryn anffaeledigrwydd am eu gwirionedd; megys, "Offeiriaid," "Parchedigion," "Golygyddion," ac "Awduron."

Yn y lle cyntaf, haerwn ein bod ni yn credu ac yn addoli un Duw, a dim ond un, a bod hwnw yn hollbresennol, yn hollwybodol, "yr unig wir a'r bywiol Dduw," yr hwn oedd er pob tragywyddoldeb, ac a fydd hyd byth bythoedd, yn ddiddechreu ac yn ddiddiwedd, yn anghyfnewidiol ynddo ei hunan, creawdwr a chynnaliwr pawb a phob peth; y Duw anweledig sydd yn llanw pob man a hyny bob amser. Dyma y fath Dduw a addola y Saint!

Yn y lle nesaf, credwn fod Duwiau lawer, ac Arglwyddi lawer, fel y dywed Paul, a chredwn yr oll o honynt, pe hyd y nod yn ddirif, yn bersonau a sylweddau, fod Iesu Grist yn un o honynt, ac fod yn anhebgorol er bod yn Dduw, gael corff anllygredig, "fel ei gorff gogoneddus ef;" nid yn unig corff ysbrydol, ond hefyd "corff nefol," sef corff o gnawd ac esgyrn, fel y corff hwnw a adgyfododd o'r bedd, a deimlwyd gan ei ddyscyblion, a gerddodd i ben Mynydd yr Olewydd, ac a welwyd yn esgyn i'r nef mewn cwmwl. Credwn mai yr un corff fydd ganddo pan y dychwela, ac y senga yr un traed anfarwol etto ar ben yr un mynydd, canys dywed Zach. xiv, yr adnabyddir ef wrth y gweliau, neu ôl yr hoelion yn ei draed a'i ddwylaw. Os cyfaddefir Iesu Grist yn Dduw, ac y bod ganddo ef gorff, dyna gyfaddef personoliaeth neu gorffolaeth un Duw, ac heb ymhelaethu am ereill, caniateir y gall ereill feddu cyrff cyffelyb a bod yn Dduwiau, o herwydd y ffaith yna. Gallwn ni nid yn unig gredu personoliaeth *llawer* o Dduwiau, ac addoli "Yr UNIG wir Dduw;" ond credwn hefyd yr anmhosiblrwydd sydd i'r un o'r personau hyny serch bod yn Dduwiau, fod mewn ychwaneg nag un man ar yr un pryd; na ddichon i ddau o honynt fod yn yr un man ar unwaith, neu ar yr un amser; eithr fod yn rhaid i bob un, bob amser, gael lle i'w berson mewn gwagder; ac etto addolwn Dduw ag y sydd yn llanw pob man a phob amser. Ac i ni nid ymddengys dim yn wrthdar-

awiadol i'w gilydd, yn yr oll a gredwn ar y pen hwn ychwaith; mae yr oll yn ysgrythyrol. Dywedir "Duw, cariad yw;" dywedir hefyd mai "gwirionedd yw Duw;" etto nid dau Dduw. Yn mhellach dywedir mai "goleuni yw Duw," nid y trydydd Duw yw hwna, ond un Duw, a hyny o herwydd y gelwir y cyflawnder o briodoliaethau y Duwdod, megys goleuni, cariad, gwybodaeth, cyfiawnder, &c., yn Dduw. Y Duw hwn a addolwn, am y Duw hwn dealler i ni fod yn cyfeirio, pan yn sôn am "hollbresennol Dduw." Yn yr ystyr hyn, ynte, gellir credu y bod holl gredo y Saint am Dduw yn gysson, tra ereill a gamddeallant yr ysgrythyr "*Unig* wir Dduw," "Myfi wyf wir Dduw, aç nid oes Duw arall ond myfi," a'r cyffelyb i wadu personoliaeth Duwiau, fel y gellir cyfaddef iddo hollbresennoldeb yr hyn sydd anmhosibl i bersonoliaeth. Ond hawdd y gallwn ni ddirnad y posiblrwydd i'r holl briodoliaethau hyn breswylio mewn amryw bersonau, ac y gwnai y "Duwdod" hyn hwy yn Dduwiau o ran eu personau, o herwydd eu bod yn breswylfa i Dduw; er hyny, nid y personau a addolir, ond y perffeithderau ag y sydd yn eu gwneyd hwy yn Dduwiau. Pe caniateid y posiblrwydd o fod "Duw Dad," yn amddifad o gariad, neu o gyfiawnder, yna ni fyddai yn wrthddrych teilwng i'w addoli; eithr o herwydd ei fod yn berffaith yn mhob peth, yna "ni wna gam â gwr yn ei fatter," ac y mae yn drugarog a graslawn; ac yn "*llawn* gras a gwirionedd." Nid yw fod un person yn meddu y perffeithrwydd hwn, yn rhwystro i arall feddu cyflawnder o'r unrhyw briodoliaethau ynddo yntau, mwy nag y mae fod y naill yn gweled goleuni yr haul yn lleihau y goleuni a wela arall; neu i fod mwynhad y naill ddyn o unrhyw wirionedd yn rhwystr i arall, ïe, ereill lawer i fwynhau yr unrhyw wirionedd. Os gall dau berson daearol ar yr un pryd feddu yr un gwirionedd, goleuni, gwybodaeth, a chariad, a'u gilydd, a'r naill heb wrthweithio i'r llall eu cael; ac os gallant felly oll gynnyddu yn mhob un, paham ar nad all yr holl briodoliaethau hyn, yn y cyflawnder o honynt, breswylio mewn ychwaneg nag mewn un person nefol ar yr un pryd? Os felly, gan mai y cyflawnder hwn yw Duw, dyna "Dduwiau lawer." Megys nad yw gwirionedd yn amryw, o herwydd ei fod mewn amryw demlau, ond yn UN gwirionedd, pe preswyliai mewn miliynau o fanau; felly Duw un yw, er ei fod yn mhob

peth, trwy bob peth, a chyn pob peth; ac er mai ynddo ef y mae pob peth yn bodoli. Gelwir y person yn Dduw, nid o herwydd ei sylwedd, ei lun na'i faintioli, ond o herwydd perffeithrwydd y sylwedd hwnw. Y person yw y babell, a *Gwirionedd* yw y Duw a breswylia y babell hono. Yr un mor hawdd ag y o gellir amgyffred y gall gwirionedd fod yn meddiant miliynau o bobl ar yr un pryd, y gellir amgyffred y posiblrwydd i'r cyflawnder o bob gwirionedd breswylio mewn miliynau o bersonau perffaith, ac etto fod ond nn gwirionedd. Gan y dichon gwirionedd fod yn hollbresennol, yna y mae Duw yr hwn sydd wirionedd yn holl bresennol. Gan y dichon un person perffaith wybod pob peth, yna gall arall fod yn hollwybodol, pan yn gwybod yr *un* "pob peth;" ac felly y gall personau dirif wybod yr "un pethau," heb leihau gwybodaeth eu gilydd, ac felly mor bell o fod amryw bersonau yn meddu y cyflawnder o Dduwdod yn gwneyd mwy nag un Duw;—hollol groes yw'r ffaith: canys gan mai un yw gwirionedd, nad oes fwy nag un goleuni, un cariad perffaith, un cyfiawnder. &c., yna nid oes ond un Duw. Am fod y Duw hwn yn preswylio mewn amryw demlau llefara wrthym fel pe bai amryw Dduwiau; gwir hyn gyda golwg ar amrywiaeth ei drigfanau, neu demlau, neu bersonau ag y preswylia ynddynt; eithr ni ddichon fod mewn un ystyr arall. Lle bynag y ceir cyflawnder o'r priodoliathau hyn yn bodoli mewn person, dyna Dduw ; ac er fod miliynau o honynt, etto y maent oll yn ogyfuwch mewn gallu a'u gilydd, nid oblegid eu bod rhyngddynt oll yn hollalluog, ond y bod pob un o honynt yn hollalluog. Maent yn ogyfuwch mewn gwybodaeth, nid am eu bod rhyngddynt oll yn gwybod pob peth, ond o herwydd fod *pob un* yn gwybod *pob peth* a wyr y llall a'r oll, a phob peth a ellir ei wybod. Gan hyny etto, meddwn, un Duw ydynt oll, o herwydd mai un yw yr holl briodoliaethau hyn. *(I'w barhau.)*

---

## LLYTHYR AT Y GOLYGYDD.

*Pyle*, *Ionawr* 26, 1854.

Anwyl Frawd Jones,—Crefaf eich caniatâd i osod y llinellau canlynol mewn rhyw gongl o'ch Udgorn soniarus, gan obeithio

y bydd yn fendith i'r gonest eu calonau yn mhlith y Bedyddwyr; a'r achos i mi gyfeirio atynt hwy ydyw i mi grefydda gyda hwynt, am yn agos i wyth mlynedd, gan ymdrechu ymdrech deg am y bendithion sydd addawedig yn y Testament Newydd, ond y cyfan yn ofer; ac felly y mae gyda yr oll a adwaen i o honynt.

Wedi i mi broffesu am yr amser crybwylledig, clywais Saint y Dyddiau Diweddaf yn pregethu, ac yn addaw y derbyniwn dystiolaeth o'm cymmeradwyaeth gyda Duw, os ufyddhawn i orchymynion Iesu Grist. Gwnaethym felly gyda y dyben o gael prawf ai gwir eu hawddewid; ac yn awr. yr wyf yn diolch i'r Arglwydd am y fraint a gefais.

Bellach, ymdrechaf ddangos i'm hen frodyr a'm chwiorydd, a phawb, y gwahaniaeth sydd rhwng crefydd y Bedyddwyr ag eiddo Saint y Dyddiau Diweddaf.—Pan gyda y Bedyddwyr, yr oeddwn yn *ofni* nad oedd neb o honom yn iawn gredu yn Iesu Grist, fel y dylasem; ond gyda y Saint, yr ydym yn GWYBOD, o herwydd i ni dderbyn yr addewidion yn ol ei air. Pan gyda y Bedyddwyr, yr oeddem yn gofidio rhag ofn ein bod heb edifarhau am ein pechodau, a hyny am nad oedd genym un prawf o'n cymmeradwyaeth ger bron Duw; ond gyda y Saint, gwyddom hynny a gallwn ddywedyd Abba, Dad. Pan gyda y Bedyddwyr, trwmlwythog oeddym yn barhaus, am fod ein pechodau yn aros heb nn gair o gysur gan neb, o'r Gweinidog hyd i'r aelod gwanaf yn y frawdoliaeth; angeu, y bedd, a'r farn a gyhoeddid o hyd, yn ddychryn ac yn arswyd i bawb; ond gyda y Saint, gwyddom fod ein pechodan wedi eu maddeu, a hyny trwy i ni ufyddhau i'r ordinhâd o fedydd er maddeuant, yn cael ei gweinyddu gan was i Dduw, a'r offeiriadaeth santaidd yn ei feddiant. Pan gyda y Bedyddwyr, yr oeddem yn dymuno am yr Ysbryd Glân; ond gyda y Saint. gwyddom ein bod wedi ei dderbyn, yn ei wahanol ddoniau, trwy arddodiad dwylaw Henuriaid Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf. Pan gyda y Bedyddwyr, credem mai y Bibl yw yr Efengyl; ond gyda y Saint, gwyddom nad yw yr "Efengyl mewn gair yn unig, eithr hefyd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr." Gyda y Bedyddwyr yr oeddym yn meddwl ac yn gobeithio y bod genym grefydd yn ein meddiant, gan ofni nad oedd genym ddim; ond gyda y Saint,

gwyddom ein bod wedi cael gafael ar drysor y trysorau, ar y perl anmhrisiadwy, ac ar y trysor mewn llestri pridd, yr hwn sydd yn dwyn bywyd ac anllygredigaeth i oleuni, yn ein hoes a'n dydd ni. Pan gyda y Bedyddwyr, yr oeddem yn credu mai anfon dynion i'r ysgolion a'r colegau oedd ofynol i'r dyben o gael pregethwyr; ond gyda y Saint, gwyddom nad yw neb i gymmeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, heb ei alw gan Dduw, megys Aaron. Pan gyda y Bedyddwyr, ac yn gweddio am lwyddiant yr Efengyl, dywedem "O Arglwydd gwawrio a wnelo y boreu, pan y byddo i'r angel ehedeg ynghanol y nef, a'r Efengyl dragywyddol ganddo, i Efengylu i'r rhai sydd yn trigo ar y ddaear;" ond gyda y Saint, gwyddom fod yr angel hwnw wedi ehedeg ac efengylu i Joseph Smith, ar Gyfandir America: a gallaf finnau *dystio* y caiff pob dyn wybodaeth o'r pethau uchod iddo ei hun, os bydd iddo wneyd fel y gwnaethym i fy hunan; a gallaf dystio hefyd, y bod dynion yn awr, yn mhlith cenedl y Cymry, ac awdurdod ganddynt o'r nef i weinyddu ordinhadau yr efengyl:—sef pregethwyr Saint y Dddiau Diweddaf. Yr wyf fi yn un o'r Saint, er ys yn agos i saith mlynedd; ond yn lle teimlo yn flin i mi fyned atynt, blin ydwyf na buaswn yn myned atynt yn gynt, fel y buasai i mi felly gael y fraint, o wneyd mwy tros Ddnw a'i Eglwys. Llawer o bethau yn ychwaneg a allwn eu dywedyd, eithr pallai amser i mi fynegi am yr holl fendithion a dderbyniais er pen ddaethym i'r eglwys hon; a dymunaf ar i bawb beidio a churo yr awyr mwy, ond dyfod i'r fan y mae goleuni gwybodaeth i'w gael.

Yr eiddoch &c.,

JOHN BOWEN.

---

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL

*Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, a gynnaliwyd yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Fawr, gan ddechreu Hydref* 6, 1853, *am* 10 *o'r gloch yn y boreu. Y Llywydd* BRIGHAM YOUNG *yn llywyddu.*

[Parhad o dud. 44.]

PAN alwyd am y pleidlais, cytunwyd yn unfrydol i gynnal y Brif Lywyddiaeth, ynghyd ag holl Gorwmau yr Eglwys; ac

etholwyd John Young, o Ddinas y Llyn Halen Fawr, Enos Curtis o Hobble Creek, Samuel Alger o Ddinas y Llyn Halen Fawr, James Lake o Ogden, William Cazier o Nephi, Elisha H. Groves o Cedar, ac Emer Harris o Provo, oll i fod yn Batriarchiaid yn Eglwys Crist. Darllenwyd enwau pedwar ar bymtheg ar hugain i ffurflo sefydliad ar lanau yr afon Green, a phleidleisiwyd iddynt gyflawni y genadwri hono; a darllenwyd wyth a phedwar ugain o enwau y rhai a neillduwyd i fyned ar amrywiol genadiaethau, o dan gyfarwyddyd yr Henuriad Parley P. Pratt.

Yr Henuriad John Taylor a eglurodd fod Mormoniaeth yn cynnwys pob peth da, yn y byd hwn ac yn y byd a ddaw. Yr ydym yn dechreu canfod allan ein bod yn ddaearol, o'r ddaear y daethom, mae ein teimladau yn glynu wrthi, ni a ddychwelwn i'r ddaear pan y byddom feirw, a phan y deuwn allan yn yr adgyfodiad, bydd hyny megys bodau anfarwol i breswylio ar ddaear nefol; hi a gaiff ei hadnewyddu, ac felly y caiff y bobl a breswyliant arni. Y mae yn ddymuniad naturiol i ni feddiannu y ddaear, ac am hyn dodwyd miloedd o bersonau yn isel, mewn trefn i ennill meddiant o honi, ond yr Iachawdwr a addawodd mai y rhai addfwyn a'i hetifeddant.

Os nad yw Duw yn anrhegu bendithion ar ddynion, eu dysgwyliadau ydynt ofer; ac oferedd yw yr anrhydedd a gais dynion ei gasglu iddynt eu hunain. A oes yna unrhyw berson a all nodi allan i mi yn mha le neu yn mha fan y cyfarfuasant erioed gyda dosparth o bersonau a fedrent draethu egwyddorion cyntaf yr Efengyl, er iddynt eu darllen yn y Beibl? Dim un, hyd nes i'r henuriaid eu mynegi iddynt.

Yr Offeiriadaeth ydyw yr unig reolaeth gyfreithlawn ar y ddaear, a'r holl genedloedd a gânt etto ymddarostwng iddi, oblegid y mae i deyrnas Dduw gael ei hestyn dros yr oll o honi; nid trwy gleddyf, neu dywallt gwaed, eithr gyda doethineb, gwybodaeth, egwyddorion y gwirionedd, y dadguddiadau o'r bydoedd tragywyddol, a gallu yr offeiriadaeth.

Dyma lle mae pen ffynnonell dealltwriaeth, a'r personau a wyddant y modd i hyfforddi cenedlaeth, neu deyrnas er eu lles. Yn awr mae y drws yn agored fel y gallo rhai o'r cenedlaethau gael eu llesoli a'u cyfarwyddo, a phan y cawn fyned trwy y gwaith o anrhegu cymmwynasau i drigolion y ddaear, ni a

gawn fyned i gysgu at ddechreu ar ddyledswyddau eangach a lawer, a chawn arglwyddiaeth fwy pan yr adnewyddir y ddaear.

Llawer o bersonau sydd nad ydynt foddlon gyda'r sefyllfa y maent ynddi, ac yn dymuno cael bod rywbeth yn uwch: gadawer i mi eich hysbysu, y mae offeiriad neu athraw ag y sydd yn mawrhau ei alwad, yn llawer gwell nag apostol nad yw yn ei mawrhau, &c., &c.

Y Llywydd Young, ar ddiwedd y Gymmanfa a lefarodd, yn mhlith addysgiadau ereill, a ganlyn:—

Ewyllysiwyf i Saint y Dyddiau Diweddaf wrandaw ar y cynghor a dderbyniasant o amser i amser, ac yn neillduol ar y cynghor a roddaf yn awr i holl Saint y Dyddiau Diweddaf yn y tŷ hwn, yn nyffrynoedd y mynyddoedd, ac i'r oll ag ydynt yn wasgaredig yn mhlith cenedloedd y ddaear; yr wyf yn gofyn un peth oddiar eich dwylaw, a hyny ydyw, i fyw eich crefydd dydd wrth ddydd.

Y grefydd a broffeswn ydyw crefydd yr Arglwydd Iesu Grist; crefydd o ddadguddiad, gweinidogaeth angylion, a gallu Duw ar y bobl, trwy ordinhadau Duw. Fy nghynghor i'r holl Saint ydyw, I FYW EU CREFYDD. Os gwnant, byddant fyw yn wyliadwrus, yn llawn gweddi, ac yn ostyngedig; a bydd i'w calonau gael eu cyflenwi gyda thosturi y naill un tuag at y llall, a hwy a geisiant wneyd daioni trwy holl ddyddiau eu bywydau; a phan y byddo i ddrwg gael ei gyflwyno iddynt, hwy a ochelant y drwg hwnw, ac a lynant wrth yr hyn sydd yn uniawn gerbron yr Arglwydd; os amgen hwy a ddygant warth arnynt eu hunain, a dianrhydeddant eu crefydd. Hyn ydyw fy nghynghor i'r holl Saint; ac yr wyf yn ewyllysio i chwi ei gludo o'r Gymmanfa hon i'ch cymmydogion, a'i wasgaru ar led trwy holl Eglwysi y Saint, ar wyneb yr holl ddaear. BYDDWCH FYW Y GREFYDD A BROFFESWCH.

Nid wyf yn gweled anghen myned trwy ffurf neillduol, neu ddefod, wrth ddwyn y Gymmanfa hon i derfyniad; a dywedaf, gohirir y Gymmanfa hon hyd y 10fed dydd yn Ebrill, 1854.

Bendithiwyd gan y Llywydd Young.

THOS. BULLOCK, *Ysgrifenydd y Gymmanfa.*

*Cyf.* ROBYN DDU.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

## DYDD SADWRN, CHWEFROR 4, 1854.

Yr Ymfudiad Pressenol.—Calonogodd Iesu Grist ei ddyscyblon, pan yn bruddion oblegid ei fod yn eu gadael, gan ddywedyd mai buddiol iddynt hwy oedd ei fyned ef ymaith, am nad allai roddi iddynt ei bresennoldeb personol mewn mwy nag un lle, ar yr unrhyw enyd ; hefyd, am yr anfonai ef y Dyddanydd atynt, wedi ei esgyniad, a bod gyda hwynt felly, lle bynag yr ymgynnullai ond dau neu dri yn ei enw; ac am y parotoai efe le iddynt hwy, ar ol ei fyned at y Tad.

Anwyl Saint, buddiol i chwithau ydyw i'ch cyfeillion, eich perthynasau, eich brodyr, a'ch chwiorydd fyned tua Seion, am y parotoant le i chwi; ac am y bydd yn eu gallu i gyfranu mwy yno, nag yma, o'u heiddo at gludo y rhai tlodion o honoch attynt i'r wlad lle yr aeth eich bryd iddi er ys llawer o amser cyn hyn. Na thristaer chwi yn herwydd colli cymdeithas eich anwylion tros dro, a chwi yn gwybod ddarfod i'r Iesu ddywedyd gwirionedd wrth ei ddyscyblion; canys y mae y Dyddanydd gyda ni yn Nghymru, megys a chyda y Saint ereill, yn mhob man, o amgylch ogylch byd o ddynion.

Na ymollynged eich meddyliau i drallod, wrth fyfyrio am y tywydd a'r tymhestloedd a ddichon gyfarfod, neu a ddichon beidio cyfarfod y Saint sydd yn ymfudo eleni. Gwr boneddig, wrth weled ei ferch ieuangc yn gwenu, ac yntau yn curo yr awyr gyda chleddyf, yn yr un ystafell a hi, a ofynodd ai nad oedd arni ofn:—hithau a'i hatebodd nad oedd, gan ychwanegu, "Ond yn llaw fy *nhad* mae y cleddyf!" Cofiwch, Saint, fod yr holl elfenau tan reolaeth llaw eich Tad chwi: nid oes megys Duw y Saint, yr hwn sydd yn marchogaeth y nefoedd yn gymhorth i chwi, a'r wybrenau yn ei fawredd: eich noddfa yw Duw tragywyddol, ac oddi tanodd y mae y breichiau tragywyddol.

Casgliadau arianol y sectariaid sydd gan amlaf, i dalu cyflogau eu pregethwyr; eithr eich cyfraniadau chwi a wneir er lles

cyffredinol yr holl eglwys, fel y caffo yr hen, yr amddifad, a'r methiedeg fyned i Seion, trwy gynnorthwy eich haelioni, a mwynhau yno gysuron y duwioldeb a fedd addewid o'r bywyd y sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd.

---

## CYMMANFA MERTHYR.

### CRYNODEB O'R HYN A WNAED AC A DDYWEDWYD YN Y GYMMANFA UCHOD.

[Parhad o dud. 49 ]

AR ol i'r Llywydd D. Jones annog y gwrandawyr i gadw yn eu cof y sylwadau a gynnygiwyd i'w hystyriaeth, gan y Llywydd S. W. Richards, o Liverpool. Pleidleisiwyd yr Henuriaid Wm. Jones, a John Jones, yn Gynghorwyr i'r Llywydd D. Jones; yr Henuriad William Sims, yn Ysgrifenydd; a'r Henuriad Robert Parry, yn Henuriad Teithiol, y Gynnadledd hon. Yna, galwyd ar i'r Ysgrifenydd adrodd nifer y swyddogion a'r aelodau a berthynant i'r Gynnadledd hon; a chafwyd eu bod yn 1930, ac arwyddion amlwg y bod cynnydd mawr gerllaw.

Y Llywydd D. Jones, a annogodd y Saint i ymdrechu am gael bob un ei ddau o bersonau i'w bedyddio gyferbyn a'r Gymmanfa nesaf a gynnelir yn Merthyr. Cynghorai hwynt i fyw bob amser yn yr Ysbryd; nid dyfod i'r cyfarfodydd i chwilio am Ysbryd Duw, eithr dyfod i'r cyfryw a'r Ysbryd Glân gyda hwynt; ac am i bob un ddyfod i bob oedfa yn gyfan, a'i galon gydag ef, fel y byddo pob cwrdd, a phob calon sant yn y cwrdd, wedi eu llenwi a chariad gwresog a thanllyd yn mhlaid y gwirionedd, gan rodio yr un ffordd santaidd, yr hon sy'n arwain ufyddion yr Iesu i'r bywyd tragywyddol.

Wedi eu cymhell i ddiwyd ymdrechu tros ëangu cylchrediad y *Star*, yr UDGORN, a'r llyfrau ereill ag ydynt yn perthyn i'r Eglwys; terfynwyd y cyfarfod boreuol, gyda bendithiad gan y Llywydd W. S. Phillips.

Dechreuwyd y cyfarfod prydnawnol am hanner awr gwedi dau o'r gloch, trwy ganu, a gweddi gan yr Henuriad Thomas Giles, Tredegar.

Y Llywydd D. Jones, a ddeisyfodd ar i'r Saint ymdrechu byw yn unol a'u crefydd; i ni oll ymdrechu ystyried am yr hyn

a fuom, yn ein cynfodoldeb yn myd yr ysbrydoedd; am yr hyn ydym yn awr, megys plant i Dduw, trwy fabwysiad, yn ganlynol i'r ufydd-dod a roddasom, ac a roddir genym i'r efengyl, yn ei hordinhadau, ac yn mha bethau bynag a orchymynodd Crist i ni eu cadw; ac am yr hyn a fyddwn, trwy ras Duw, ond i ni barhau yn ffyddlon, gan ymdrechu cyrhaedd i fod yn Dduwiau gogoneddus mewn gwynfyd tragywyddol.

Y trysor goreu, yn fwy ei werth na'r oll o bethau daear i gyd yn un, ydyw y gwirionedd; cyflawnder y gwirionedd yw yr hyn y dylem ymegnio yn ddiwyd a pharhaus am ei gael, o herwydd mai dyna yw y peth a'n gwna, trwy gynnyddu mewn daioni, yn dduwiau, yn Dduw debyg, am byth bythoedd: gan hyny, y gwirionedd a ddylai fod prif wrthrych ein hymchwiliad, prif nod ein hymgais, a chyfoeth penaf ein dewisiad, a'i addoli hefyd, oblegid mai *y gwirionedd*, mewn pob anfeidrol berffeithderau yn un, yw y gwir a'r bywiol Dduw.

Carwn Dduw, am mai Duw y gwirionedd ydyw ef; a charwn ein gilydd,nid yn herwydd ein personau na'n meddiannau, eithr yn herwydd ein tebygolrwydd i Dduw, perchenogydd pob anfeidrol berffeithrwydd y gwirionedd. Hyderwyf i chwi ddyfod yma oll i'r dyben o wrando, cofio, myfyrio, ddeall, a gwneyd yr hyn a gais y gwirionedd genym. Yr ydym yn marchnadfa y gwirionedd, ac ond i ni farchnata yn gall, trwy ymgyrhaedd at y gwirionedd, a'i roddi mewn grymus weithrediad, nyni a awn oddi yma ar ein hennill. I'r dyben o ennill llesoldeb y gwirionedd, nyni a ddylem ymlid ymaith bob malais, cenfigen, a chaledwch yn erbyn personau, a phob peth, gan roddi o honom bob lle i dderbyn y gwirionedd, yn ysbryd y gwirionedd; ac yr elom yn mlaen, yn nerth y gwirionedd, o ffydd i ffydd, o ras i ras, o nerth i nerth, ac o lawenydd a gorfoledd, hyd i lawenydd a gorfoledd annherfynol; pryd y cawn, nid yn unig dderbyn llawenydd, ond myned yn mhellach bellach i mewn, yn, ac i orlawnderoedd y llawenydd di eithafoedd.

Yr Henuriad James Linforth, o Liverpool, a ddywedodd, Da yw genyf weled y Saint, yn Merthyr, unwaith yn ychwaneg; eithr cyfyngaf fy sylwadau i gylch bychan. Dylai yr Henuriaid deimlo yn dra diolchgar am y goleuni sydd ynddynt, gan ymdrechu dwyn y goleuni, mewn ysbryd cariad, at y rhai sydd hyd yn hyn mewn tywyllwch, a bod yn ofalus am beidio tynu

tai y sectariaid ar eu penau hwynt, hyd nes dangos iddynt adeilad well eglwys Iesu Grist, o Saint y Dyddiau Diweddaf. Dylynwn ein braint o alw ar Dduw am ei fendithion y rhai y gwyddom ein bod yn eu derbyn, yn y cyflawniad o'n dyledswyddau; a phwy sydd a chanddynt gan gryfed annogaethau i ddyfal barhau, mewn gweddi a ni? Canys yr ydym ni yn gwybod mai arferiad Dnw ydyw gwrando ac ateb ein gweddiau.

Mae yr Eglwys yn amlwg gynnyddu mewn pob gras a dyledswydd; fel mai mawr yw prydferthwch doniau yr Ysbryd Glan yn ein plith, mewn ychwanegiadau o fendithion yn feunyddiol. Daethym i'r eglwys hon bedair blynedd-ar-ddeg yn ol; a'r cynnydd sydd eglur er gwell, bob blwyddyn yn olynol. Mae ein breintiau yn llïosogi mewn nifer a grymusderau, a llïosogant hefyd gyda chynnydd yn dragywyddol; gan hyny, gweddai y bod ein hymdrechiadau ninnau ar eu cynnydd yn wastadol am oleuni gwybodaeth, ac am ryddhau caethion tyw yllwch anwybodaeth trwy y byd cyfoll; gan brysur ymgyrhaedd at yr amser, y bydd gwybodaeth o'r Arglwydd yn llanw y ddaear, fel y töa y dyfroedd y môr.

Y Llywydd D. Jones, a ddymunodd am i'r Saint oll ystyried yr anghenrheidrwydd sydd o undeb, gyda gwaith Duw: fod anghen, nid yn unig o undeb cariad at ein gilydd, ac undeb i gyd weithredu yr hyn a weithredom, ond hefyd o ddeall mai *unoliaeth* ydyw yr oll o waith Duw o'n hamgylch, ac ynom, a thrwyddom ni. Ystyriai yr apostol, fod rhoddi arian heibio, ar y dydd cyntaf o'r wythnos at wneyd daioni, yn beth mor anghenrheidiol â rhyw ddyledswydd grefyddol arall. Rhyw eiriau arferol gan ddynion, er gwahaniaethu rhwng y pethau y soniant am danynt ydyw tymmorol ac ysbrydol, anianol a moesol: gyda Duw nid oes pethau anianol a phethau moesol, nag iachawdwriaeth dymmorol ac iachawdwriaeth ysbrydol: canys un ydyw ei iachawdwriaeth ef; ac felly, er y gwahanol enwau sydd ar y pethau a geisir genym, y gweddai i ninnau ddwyn ein holl amrywiol ddyledswyddau i undeb siriol mewn llawn gweithrediad. Gan hyny, na feier arnom am ddywedyd y dylem fod yn fywiog o blaid cynnorthwyon arianol teyrnas Iesu Grist: eithr goddefer i ni eich annog i bob diwydrwydd at gefnogi y Gymdeithas Ymfudol Barhaus. Yn ein cyssylltiad a'r Gymdeithas hon, ni ddylai teimladau personol na lleol gael ein dylanwadu. Ein

cyfraniadau ydynt roddion gwirfoddol at ymfudo y Saint oll allan o Babel i fyned tua Seion: Prif Lywydd yr Eglwys ydyw Llywydd y Gymdeithas Ymfudol Barhaus; ac yn ei ddwylaw ef, a'i gyd swyddogion y byddai yn oreu i ni adael ei rheoleiddiad; ynghyd a'r dull addasaf o ddwyn effeithiau ei gweithrediadau oddiamgylch, gan bennodi pwy sydd i gael myned yn awr ac etto Daioni cyffredinol, a gwneyd lles, er iachawdwriaeth i'r holl Saint, heb esgeuluso cymmaint ag un yn pen draw ydyw ei holl amcan; gan hyny, rhesymol ydyw i ni oll gydweithio a'n gilydd er buddioli ein gilydd oll ynghyd.

Y Saint ydynt dra haelionus yn Seion, i'r dyben o'n cael atynt; a bydded i ninnau fod yn dra haelionus yma, er mwyn ein myned yno, i fwynhau eu cymdeithas, ac i brofi y rhyddid a'r bendithion sydd yno ganddynt hwy yn ein haros ni. Cludodd haelionusrwydd y Gymdeithas Ymfudol gannoedd o Saint tlodion, a'r rhai hyny yn dyblu eu nifer i fyned tua Seion, bob yn ail flwyddyn. Mae goleuni wedi gwawrio yn y gorllewin! Ymddeffrown ninnau; canys y mae'r Gymdeithas famol hon am ein cymmeryd yno oll yn ei chol gynnes.

Edryched llywyddion canghenau y Gynnadledd hon, eu bod yn cyflawni eu dyledswyddau at y byd. Gan eich bod yn *gwybod* y gwirionedd, tystiolaethwch y gwirionedd er annog ereill i ufyddhau, fel y caffont hwythau afael ar y gyffelyb wybodaeth. Chwilier am leoedd i bregethu; a thueddwch y bobl, trwy eich ymddygiadau caruaidd, i gredu mai chwi ydych eu cyfeillion goreu; a gwneled pawb o honoch eich goreu tros ledaeniad a derbyniad llyfrau yr eglwys, y *Star* a'r UDGORN: po lliosocaf eu derbynir, rhataf eu ceir: bydded i ni oll gyd-ymdrechu fel y mwyhäer ac yr amlhäer offerynau goleuni gwybodaeth gogoniant Duw, yngwyneb Iesu Grist, trwy bregethu a darllen, ac ennill ereill i wneyd hyny hefyd yn olynol. Byddwn fyw a'n cydwybodau yn lân, a gwnawn ein dyledswyddau fel y cyfawner gweddi Crist, "Gwneler dy ewyllys, megys yn y nef, felly ar y ddaear hefyd.

Y Llywydd John Davis,—Tebygol mai dyma y tro olaf i mi gael dywedyd gair wrthych, mewn Cymmanfa yn Nghymru. Buom gyda chwi yn y swydd sy genyf, oddeutu pum mlynedd; yr wyf yn ceisio edrych yn ol i sylwi ar a wnaethym, a chanfyddaf yr ymdrechais o blaid eich lles, heb dderbyn wyneb

uudyn. Gwnaethym a ellais i ddywedyd ac i ysgrifenu pethau da; ac ymdrechais hefyd i roddi esiampl dda o'ch blaen, mewn bucheddu, yr un fath ag mewn addysgu ar air ac ysgrifen. Yr wyf yn awr, ar fyned i Seion; a dymunwn, cyn ymadael, eich annog i gofio am y tlodion, ac i wneuthur holl ewyllys yr Arglwydd, gan ufyddhau o honoch i gynghorion daionus ei weision ef. Ai nid yw cofio am a fwynhasom yn ennyn llawenydd ynom; ac onid yw hyny yn ein cymhell i fyned yn mlaen, gyda mwy diwydrwydd nag erioed? Mae anmherffeithderau yn mhawb, ac yn y goreu o honom; eithr rhoddwn ein hymddiried yn yr offeiriadaeth, ac yn yr Ysbryd Glân; fel y cymmero bywyd adnewyddol le, y byddom un, ac y byddom nas gellir ein gwahanu; ond a'n cariad at ein gilydd, ac at Dduw, ar ei gynnydd, hyd nes ein casgler oll at ein gilydd i Seion. Yr wyf fi ar ddystewi—y mae fy nghalon yn hollol ddi-elyniaeth tuag at bob dyn—nid wyf yn gwybod am un gelyn—ac yr ydwyf yn ewyllysio i chwi bob lles o hyn allan hyd byth. Yr ydym yn blant i'r un Tad—brodyr a chwiorydd ydym—dichon y cawn weled ein gilydd etto yn Seion. Bendithier chwi Saint—gwasanaethwch yr Arglwydd, mewn ffyddlondeb; a pharhewch frodyr a chwiorydd hyd y diwedd. Ai ni chawsoch o Ysbryd yr Arglwydd, ai ni chawsoch o'i ddoniau annhraethol ef?—Do; gan hyny parhewch i ddylyn pob cynghor a phob gwaith da; a pharhau ydyw fy mhenderfyniad innau.

Dichon, frodyr, y buom yn drwsgl; eithr buom yn ddidwyll. Dymunaf am i chwi gael o Ysbryd yr Arglwydd yn ehelaeth, a chyffröer ac adfywier chwi mewn pob rhinwedd. Bydded Blwyddyn Newydd dda, i chwi Saint, a phob blwyddyn yn well-well o hyd. Edrychwch yn mlaen; ac os rhaid dyoddef ychydig, cofiwch y dwg ein Tad tragywyddol bob gweithred i'r amlwg.

Yr Arglwydd a'ch bendithio chwi oll.—Yn iach Saint.—Gweddiwch troswyf; a minnau a weddiaf hefyd trosoch chwi. Gwnaf; gweddiaf tros yr holl Saint. Yr Ysbryd Glân a fyddo ynoch a'i dangnefedd arnom ni oll. Ffarwell frodyr: a Duw a fyddo gyda chwi a minnau, trwy Iesu Grist. Amen.

Y Llywydd Jones, a grybwyllodd ddarfod iddo yntau ganu yn iach, a dychwelyd yma yn ol; a dichon, pan yr â etto oddi yma y bydd rhai o'r Saint sydd yn myned i Seion y tro hyn,

yn ei gyfarfod ef ar y ffordd, gan ddychwelyd, hwythau hefyd, i lafurio llafur cariad yn ngwlad eu genedigaeth.

(*I'w barhau.*)

---

## ARWYDDION YR AMSERAU.

Talwyd miloedd o bunnau am adeiladu Gweithdai i'r tlodion yn y deyrnas hon; a thelir miloedd o bunnau, yn flynyddol, i arolygwyr, ysgrifenyddion, a dirprwywyr, am broffesu edrych ar fod y tlodion yn cael ymgeledd ac ymborth; er hyny, marw o newyn y mae llawer; a chyhoeddwyd yn y Papyrau newyddion diweddar, i rai drengu o eisiau bwyd, hyd yn oed ar riniog ty a godwyd i'w diogelu rhag newyn! Yn UTAH, mae gan y Saint lawnderau o ddanteithion; a'r weddw, yr amddifad, a'r methcdig yn cael cystadl cynnaliaeth oddiwrth y Degwm, ag a fwynheir gan y rhai sydd yn talu y cyfryw.—Mae yn y wlad hon brinder cyflog, sefyll allan am fwy cyflog mewn rhai manau, a phrinder gwaith mewn lleoedd ereill; tra yn UTAH ceir digon o waith a chyflog, ond prinder gweithwyr; tiroedd ydynt yma brinion a drudfawr, ac yno helaethion a rhâd: UTAH sy gyfaneddle heddwch, iechyd, a chysur; ond Ewrop sydd yn llawn rhyfel danllyd, clefydau, a pheryglon. Rwssia sydd hyd hyn yn gwrthod y cynnygiadau am heddwch; a thebygol yr ystyrir mynediad llyngesau Lloegr a Ffrainc i'r Môr Du yn weithred elyniaethus; cynnwys ei Phapyrau newyddion frawddegau ffyrnig yn erbyn Lloegr. Dyoddefodd Rwssia ddyrnod drom yn y frwydr a ymladdwyd gerllaw tref, yn cynnwys 2000 o dai, o'r enw Kalafat: lladdwyd yr oll o un catrawd y Rhych-ddrylliau; ac ni ddiangodd ond 465 o un catrawd y gwaywffyn heb eu lladd. Twrci, er yn llai ei manteision yw y trechaf hyd yn hyn ; a daeth catrawd o *cossacks*, o gymmydogaeth y Môr Gwŷn i'w cynnorthwyo yn ddiweddar. Gorthrechir Poland, gan Rwssia, trwy ei gorfod i anfon ei meibion o 18 hyd i 40 eu hoedran i wisgo arfau rhyfel. Cynnygiodd y Mohammed, Twrci, bob tegwch unol ag anrhydedd cenedl at gael heddwch, gwrthododd (y Cristion?) Rwssia, bob cynnyg, gan ymgynddeiriogi fel blaidd yn erbyn pawb a feiddiant anghytuno a'i ormes, ei drais, a'i gamwri; modd bynag, collodd Rwssia 5000 o wyr, mewn brwydr a ymladdwyd yr 8fed o'r mis

diweddaf: a chollodd luoedd yn mrwydrau y 6, 7, 9, a 10 o'r mis; a throes tros 500 o filwyr Wallachia at y Tyrciaid.—Bu i amryw offeiriaid eglwys Groeg, yn Walachia, fod mor eofn a thynu enw Nicholas, Amerawdwr Rwssia o'u L lyfr gweddi, a dodi enw y Sultan Abdul Medjid, Amerawdwr Twrci, yn ei le.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CYMMANFAOEDD Y GOGLEDD.—Cynnelir Cymmanfa Sir Fflint, ar y 12fed o Chwefror; Sir Ddinbych, ar y 19eg; Dyffryn Conwy a Sir Fon, ar y 26ain; Sir Feirionydd, ar y 5med o Fawrth.—Gyda phleser dealled ein hanwyl frodyr yn y Gogledd wrth hyn, y gallant ddysgwyl ymweliad gan y Llywydd Jeremy yn y Cymmanfaoedd uchod. Ysbryd yr Arglwydd Dduw a ddelo gydag ef yn nerthol, nes y cydlawenhao yr holl Saint yn iachawdwriaeth fawr ein Duw yn y Dyddiau Diweddaf, yw ein dymuniad.

TIRIAD Y CYMRY YN NINAS Y LLYN HALEN.—Cyrhaeddodd yr holl Gymry a ymfudasant dros y plains, yn iach a llwyddiannus yn Ninas y Llyn Halen Fawr; a chyd-dystia amryw lythyrau a anfonwyd yn ol i'w perthynasau eu bod yn cael eu llwyr foddloni yn y wlad, yn ei manteision tymmorol a a chrefyddol, ac yn neillduol yngharedgrwydd, haelioni, a chrefyddolrwydd ei thrigolion; a'u bod yn clodfori enw yr Hwn a'u gwaredodd o gaethiwed Babilon i ryddid a iawnderau Seion.

### Y GWIRIONEDD.

UN, trwy gofiant tragyfyth,—yw anian
*Y Gwirionedd* dilyth;
Yn ei ansawdd unionsyth,
Nid all ef fod yn dwyll fyth. R. DDU, ERYRI.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street, Merthyr-Tydfil.*

---

### CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14 CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 6.] CHWEFROR 11, 1854. [CYF. VII.

### Y DUW A ADDOLIR!—PWY YW?

[Parhad o dud. 72.]

Y DUW hwn nid oes na "chorff na rhanau na nwydau," ac nid yw yn sylweddol. Na ddealler i ni awgrymu fod y priodoliaethau hyn yn *sylweddau*; canys byddai mor hollol anmhosibl i unrhyw sylwedd, pe bae yn ronynau lleiaf, fod yn hollbresennol—ni ddichon i ddau ronyn lleiaf o sylwedd, pe bae yn sylwedd ysbrydol, fodoli yn yr un lle a'u gilydd ar yr un pryd —ag a fyddai i ddau neu fwy o bersonau sylweddol, ysbrydol, nefol, neu ddaearol lanw yr un gwagder ar yr un amser.

Effeithiau, neu briodoliaethau (yr hyn sydd gyfystyr), yw yr uchod, perthynol i, a tharddiadol o sylwedd; ac y mae eu grym yn gyferbyniol i berffeithrwydd y sylweddau a'u hachosa. Lle nad oes sylwedd i garu nid oes gariad; etto, nid sylwedd yw cariad. Heb sylwedd i ddeall nid oes gwybodaeth, fwy nag y dichon y bod gallu heb sylwedd i'w arddangos. Ysgogiad, nid yw sylwedd, ond effaith sylwedd ymsymmudol. O herwydd y bod sylwedd ysbrydol yn y perffeithrwydd o hono, effeithiau yr hwn yw yr uchod, yn bodoli yn mhob man, er tragywyddoldeb, yn hunan-ymfodol ac anghyfnewidiol, y mae Duw yn yr ystyr hwn yn mhob man a phob amser, canys Duw yw hwn. Profa Crist hyn pan y dywed, "Ysbryd yw Duw, a rhaid i'r rhai a'i haddolant Ef, ei addoli mewn ysbryd ac mewn gwirionedd" (Ioan iv, 24.) Yn yr adnod flaenorol, dywed yr Iesu mai ei Dad, gyda golwg ar ei Dduwdod yn *bersonol*, yw gwrth-

ddrych addoliad y gwir addolwyr. Yma gwelir prawf o'r egwyddor y bod sylwedd ysbrydol, priodoliaethau yr hwn a elwir yn Dduw; ac o herwydd fod y cyflawnder o'r perffeithrwydd hwn yn ei Dad, y mae yn Dduw. Nid addoli person y Tad a ddywed, ond ei addoli, o herwydd fod yn ei berson ef gyflawnder y Duw a eilw yn "Ysbryd." Nid yw efe yn dweyd y bod yr Ysbryd hwn a eilw yn Dduw yn *fôd* neu *berson* o hono ei hun; ac nid yw yn awgrymu nad yw Ysbryd yn sylwedd. Sylwedd yw yr Ysbryd hwn, yr hwn yn fynych a elwir yn "Ysbryd Duw," "Ysbryd Glân," "Dyddanydd," &c. Mae hwn yn ddiddechreu, yn fân ronynau gwybodus, drwy yr holl eangder, yr hwn sydd yn cynnal, a'r hwn yw *bywyd* pob peth. Nid yw bywyd yn sylwedd, ond priodoledd perthynol i'r sylwedd hwn. Nid yw y ffaith o'i fod yn cael ei bersonoli, megys "Efe," ac "Ef," yn fynych, yn profi ei fod yn berson corfforol, megys ag y mae y Tad, a'r Mab, a phawb ag y preswylia yr Ysbryd hwn ynddynt yn bersonau; canys dywedir am y Saint, mai temlau ydynt i Ysbryd Duw breswylio ynddynt. Pe person sylweddol meddwn etto, ni allai lanw ond un man ar yr un waith; ond am Dduw, sef yr Ysbryd hwn, dywedir ei fod yn llanw pob man ar yr un waith. At hwn y cyfeiriai y Salmydd pan y dywedai, "Pa le yr âf oddiwrth dy *Ysbryd*, ac i ba le y fföaf o'th wydd," &c. Anmhosibl addoli Duw yn iawn heb feddu yr Ysbryd hwn yn ei ddylanwadau ar ein hysbryd ni, o herwydd heb hyny ni fydd yn addoliad gwirioneddol; canys hwn yw ysbryd y gwirionedd; "mewn ysbryd ac mewn *gwirionedd*," ebe Crist. Rhaid fod yr Ysbryd hwn yn sylweddol, cyn y gallai ddylanwadu neu achosi effaith, sef gwirionedd ar ein hysbryd ni. I'r graddau ag y dylanwada, y dyga ein hysbryd ni i'w ddelw ef, yr hyn yw tebygoli i Dduw; ac felly cymhella blant Duw i lefain "Abba Dad," a hyny o herwydd mai, "yr hwn sydd yn santeiddio, a'r rhai a santeiddir, o'r un [Duw] y maent." Am eu bod yn blant y tywalltodd Efe ei Ysbryd, [nid yn bersonol, ond] ar led yn eu calonau Digon yw hyn i'r pwrpas presennol, i brofi hollbresennoldeb ac anmhersonoliaeth Ysbryd Duw. Yr hwn ni ddigonir ar yr allwedd hon, ymchwilied i'r Udgorn lle y nodwyd ar y dechreu.

Rhag na ddeallwyd ni ynghylch personoliaeth a hollbresennoldeb Duw Dad; a chan y bod o fawr bwys i ni oll iawn

ddeall gwrthddrych ein haddoliad, a pha fodd i'w addoli, ychwanegwn o ddadguddiadau a roddwyd i Joseph Smith, yr hwn y dywedir ei fod yn gwadu hollbresennoldeb a thragywyddoldeb Duw; a dadguddiadau y Testament Newydd ar y mater hwn; os cydgordiant hwy, dyna ddigon i brofi ei gyhuddwyr, naill ai yn anwireddwyr gwybodus neu anwybodus; ac os yr olaf, y bod eu hanwybodaeth am Dduw yn eu gwneyd heb Dduw yn y byd, ac nid yn unig yn analluog farnwyr ereill, ond hefyd yn amddifad o fywyd tragywyddol; canys "hyn yw y bywyd tragywyddol iddynt dy *adnabod* di yr unig wir Ddnw, a'r hwn a anfonaist ti Iesu Grist." Yn y dyfyniad blaenorol, profodd Crist y bod ei Dad yn berson, ac hefyd y bod Duw yn Ysbryd yr hwn sydd yn hollbresennol. Yn nesaf, profwn ei fod yntau, sef Mab Duw, fel ei Dad yn Dduw personol, ac etto yn hollbresennol yn yr un ystyr a'i Dad. Dadguddiwyd i Joseph y Gweledydd fel y canlyn:—" Gwrandewch ar lais Iesu Grist, eich Pryniawdwr, yr YDWYF Mawr; yr hwn y mae braich ei drugaredd wedi gwneyd Iawn dros eich pechodau chwi;" * * * "ond i mi nid oes DIWEDD ar fy ngweithredoedd, na DECHREUAD chwaith" (Ath. a Chyf., dos. x, gwa. 1—8. Etto drwy yr un:-" Gwrandewch ar lais yr Arglwydd eich Duw, sef Alpha ac Omega, y dechreu a'r diwedd, yr hwn y mae ei ystod yn un cylchdro tragywyddol, yr un heddyw a ddoe, ac yn dragywydd. Myfi wyf Iesu Grist, Mab Duw, yr hwn a groeshoeliwyd am bechodau y byd, sef cynnifer a gredant yn fy enw i, fel y delont yn feibion i Dduw, ïe, yn un ynof fi, fel yr wyf fi yn y Tad, megys y mae y Tad yn un ynof fi, fel y byddom yn un." Ni allai iaith brofi yn eglurach nad oedd dechreu i Iesu Grist. Anmhosibl bod dechreu na diwedd iddo Ef, gan nad oedd dechreu ac na fydd diwedd i'w weithredoedd Ef. Ni bu amser yn yr hwn y dechreuodd Ef ei waith. Ni fu y fath beth â'r weithred *gyntaf* iddo Ef. I "gylch tragywyddol" nid oes dechreu! Pwy a ddichon ddirnad dechreu na diwedd i fodrwy? A hyn cyd-dystia Paul yn Col. i. Wedi diolch i'r Tad yn adn. 12, am ei symmud i deyrnas y Mab, yn adn. 16, dywed mai "trwyddo Ef [y Mab] y crewyd pob dim a'r sydd yn y nefoedd, ac sydd ar y ddaear, yn weledig ac anweledig; pa un bynag ai thronau, ai arglwyddiaethau, ai meddiannau; pob dim a grewyd trwyddo Ef ac erddo Ef" (adn. 17). "Ac y

mae efe [y Mab] CYN pob peth, ac YNDDO ef y mae pob peth yn cyd-sefyll" (adn. 18. "Ac Efe yw pen corff yr Eglwys, Efe yr hwn yw y DECHREUAD, y *Cyntaf-anedig* oddiwrth y meirw." Tystia Paul yma y bod Iesu Grist yn Gyntaf-anedig oddiwrth y meirw, yr hyn ni allasai fod oni fuasai ei *bersonoliaeth*. Yn adn. 15, dywed am yr un person,—"Yr hwn yw delw y Duw anweledig, *Cyntaf-anedig* pob creadur. Fel "creadur" ganedig, nid oedd efe "cyn pob peth ac yn mhob peth;" etto yr un "person ganedig" hwn, ebe efe "oedd cyn pob peth;" yna os ei berson a feddylia, ac os yw "pob peth" yn awgrymu nad oedd dim heb fod yn gynnwysedig, yna yr oedd efe cyn yr hwn y ganwyd Ef o hono; yr hyn fyddai yn anmhosibl i fod yn wir! Gwadu dwyfol bersonoliaeth Iesu Grist yw gwadu ei Dduwdod hefyd; eithr i'r hwn a gyfaddefa sylweddoldeb ei berson, rhaid iddynt yngwyneb yr uchod, gyfaddef ei hollbresennoldeb ar yr un pryd; cyn y gallai pob peth YNDDO Ef gydsefyll! Mae Paul yn yr un amryfysedd â Joseph Smith, gan y doethion dynol yn awr! Mewn un man dywed fod Iesu Grist yn "gyntaf ANEDIG pob creadur," sef o ran ei Ysbryd yn y nefoedd, ac felly bod *dechreuad* wedi bod iddo; ar yr un pryd dysga ei fod Ef "CYN pob peth," yn y nefoedd ac ar y ddaear! Gwna ef yn Dduw ac yn ddyn,—fod iddo ddechreuad, ac etto yn ddiddechreu, yn greadur ac yn Greawdwr pob peth gweledig ac anweledig! Onid yw hyn yn wrthddywediad, meddir? Ydyw, yn cael ei ystyried felly pan ei dywedir gan "Formoniad," fel Joseph Smith; eithr yn hollol gydgordiol, pan ei dywedir gan ei frawd ef drwy yr un Ysbryd, sef gan Paul! Ac ni ellir eu cyssoni fyth, nac ugeiniau o ddadguddiadau cyffelyb, ond yn unig drwy gredu credo y Saint am bersonoliaeth, ac etto hollbresennoldeb Duw, ïe, pob Duw! Daw Paul a'r pwnc yn amlwg wrth ddweyd "Oblegid rhyngodd bodd i'r Tad drigo o BOB CYFLAWNDER ynddo ef." Dyma allwedd y cyfan, sef, y bod person Iesu Grist wedi derbyn y cyflawnder o wirionedd a feddai ei Dad; y cyflawnder o gariad, o oleuni, gwybodaeth a phob priodoledd a feddai ei Dad; yr hwn yw y Duw di-ddechreu, yr hwn a greodd bob peth ag sydd yn mhob peth. Ar yr un pryd dywed fod dechreu i'w *berson;* iddo gael ei eni yn yr Ysbryd o Dad yr ysbrydoedd "yn gyntaf anedig yn mhlith brodyr lawer," cyn bod y byd hwn: ei fod wedi ei eni o ran y

cnawd o'i Dad hefyd, ac o Mair. Felly yr oedd dechreuad i reoleiddiad ei berson ysbrydol, a dechreuad i'w gorff daearol, tra yr oedd y sylweddau o ba rai ei gwnaed yn dragywyddol cyn bod ei Dad ef; felly hefyd yr oedd yr holl briodoliaethau a'u cynysgaethent ef â Duwdod yn bodoli cyn pob peth ac yn mhob peth. Pan ei ganwyd ef i'r byd ni allasai efe honi ei fod cyn pob peth, nac mai efe a greodd bob peth, canys y pryd hyny nid allasai restru ei hun yn mhlith y Duwiau, am na feddai y cyflawnder o wirionedd, yr hyn yn unig, a'i gwnai yn Dduw. "Gelwir ef y Mab, o herwydd na dderbyniasai y cyflawnder ar y dechreu," ebe dadguddiad. "Rhyngodd bodd i Dduw *berffeithio* Tywysog ein hiachawdwriaeth ni trwy ddyoddefiadau," ebe arall etto. Wedi i'r Iesu dderbyn yr Ysbryd Glân, yn ol tystiolaeth Ioan, y daeth efe i ddeall yn gywir o barthed i pwy oedd efe wedi bod, a diben ei ddyfodiad presennol i'r byd; canys dywedir, "Yn ei ddarostyngiad, ei farn a gymmerwyd oddiarno," sef, ei gofiant am ei gartref nefol; ac yn fuan wed'yn, clywwn ef yn eofn yn cyhoeddi ei hun yn Fab Duw; ïe, dyweyd, yr hwn a'm gwelodd i, a welodd y Tad, canys myfi a'r Tad un ydym. Mynych y dywedai fod y Tad ynddo ef ac yntau yn y Tad: sef, y bod y priodolaethau ag oedd yn gwneyd ei Dad yn Dduw ynddo yntau; a phe meddai miliynau dirif yr unrhyw gyflawnder o *wirionedd* ag a'u gwnaeth hwy yn dduwiau, a'r rhai hyn y ar filiynau o fydoedd, etto ni byddai ond un Duw, a'r un hwnw yn hollbresennol.

Profa Iesu Grist, nid yn unig ei fod wedi bod yn bodoli yn yr Ysbryd yn berson cenedledig, ond ei fod wedi dyfod i ddeall hyny trwy wybodaeth ddatguddiedig iddo trwy yr Ysbryd Glân yn ei weddi ar ei Dad; "Gogonedda di fyfi â'r gogoniant oedd i mi gyda thi cyn bod y byd," ebe efe. Yn ei ddarostyngiad cyn cael amlygiad o'r nef, a chyn mwynhau "pob cyflawnder," neu cyn "rhyngu bodd i Dduw breswylio o holl gyflawnder y Duwdod ynddo ef yn gorfforol;" ni allasai efe alw ei hun yn "Alpha ac Omega," yn Dduw hollbresennol, a hollwybodol, na hollalluog; eithr wedi ymbersonoli o'r cyflawnder o briodoliaethau y Duwdod ynddo ef, yr oedd mor briodol iddo ef, alw ei hun yn hollalluog Dduw ag oedd i un Duw arall alw ei hunan felly, o herwydd cyd-stad y'nt oll a'u gilydd yn mhob priodoledd. Oll

yn berffaith ddiwall, heb le i welliant yn un; eithr *un Duw* yn oll a thrwy oll. *(I'w barhau).*

---

## CYMMANFA MERTHYR.

### CRYNODEB O'R HYN A WNAED AC A DDYWEDWYD YN Y GYMMANFA UCHOD.

[Parhad o dud. 83]

Y LLYWYDD W. S. Phillips:—Anwyl Saint, teimlwyf yn ddyledswydd arnaf eich annerch, ac adrodd fy nheimladau wrthych y tro hwn, am nad ydwyf yn gwybod a gaf fi eich annerch, yn y fan hon, byth mwy ai peidio. Buom gyda chwi am lawer blwyddyn galed, yngwyneb llawer o erlidiau, mewn llawer o drallodion, ac mewn amgylchiadau lled gyfyng weithiau; a chefais y fraint o gyfarfod gyda chwi yn mhob Cymmanfa o Saint a gynnaliwyd yn y lle hwn: eithr dyma y tro olaf wedi dyfod, a hyny, fe ddichon am byth yn y lle a'r agwedd ein gwelir yn awr; ac yr wyf yn dymuno cael rhan yn eich gweddiau.

Cofus genyf am bum mlynedd i'r adeg hon, pan y teimlais yn ddwys fy niffyg doethineb a gallu i gymmeryd arnaf y llywyddiaeth yn Nghymru. Yr oeddwn yn teimlo; eithr trwy y nerth a gyfranodd yr Arglwydd i mi, sefais hyd y dydd hwn. Derbynais nerth a gallu, trwy wrandaw ar, ac ufyddhau i weision Duw; a chefais fynych deimlo y bod yr Arglwydd yn cyflawni ei addewidion i'r rhai a alwant arno mewn ffydd, heb ammheu dim.

Mae fy nghalon yn eich caru. Os ydwyf yn adnabod fy nghalon, gallaf ddywedyd, Pa deimlad bynag a ddichon fod mewn arall tuag ataf fi, nad oes ynwyf fi ond cariad tuag at bawb, heb ddim yn erbyn neb. Yr wyf heddyw yn mhlith y bobl a gerais yn oreu o bawb erioed; yr ydwyf yn mysg y rhai anwylaf genyf yn y byd: eithr dyma fi ar roddi i chwi ffarwel. Dichon mai dyma y tro olaf, i mi eich annerch yn Merthyr-Tydfil, am byth; yr wyf yn eich gadael i ofal yr Arglwydd, tan lywyddiaeth y BRAWD JONES; un a chanddo fwy doethineb ac ymarferiad na mi yn y swydd; yr wyf hefyd yn eich gadael yn ngofal y dynion da sydd i gynnorthwyo y brawd

Jones; sef, y brodyr Thomas Jeremy, a Daniel Daniels. Yr wyf yn hiraethu am eich llwyddiant, ac yn eich gadael i ofal Duw.

Frodyr,—mae fy nghalon yn llawn—yn llawn dymuniadau da—yn llawn bendithion—yn llawn cariad atoch. Llywyddion y cynnadleddau, a llywyddion y cangenau; O Henuriaid ac ereill yn yr Eglwys, cofiwch am eich dyledswyddau; gwnewch, fel y mae yn ddyledus arnoch at y llywyddiaeth a appwyntiwyd i fod arnoch:—y neb a gyfodo yn erbyn y Llywydd Jones a'i Gynghorwyr, wedi eu gosoder arnoch, ni lwydda; yr wyf yn *gwybod* na lwydda y neb a wrthryfelo yn ei erbyn ef a'i gynghorwyr. Brysiwch i Seion, a bydded eich bryd ar fyned yno. Ffarwel i chwi frodyr oll—Yr Arglwydd Dduw Hollalluog a'ch bendithio trwy Iesu Grist. Amen.

Y Llywydd Jones,—Annogaf chwi oll i wneyd dymuniad y Llywydd Phillips, trwy weddio trosto, a rhoddi a alloch o'ch cynnorthwyon tuag at ei anfon ef, a'i anwyl deulu, yn gysurus i Seion. Ystyriwch mai dyledus ydyw arnoch wneyd felly, i un a aberthodd ei holl amser, tros gynnifer o flynyddoedd i'ch gwasanaethu, mewn llafur cariad, yn yr Arglwydd. Ystyriwn mai braint i ni yw hyn, a chyfrifwn yn hyfrydwch wneyd hyn iddo: ac y mae fy nymuniad am i'r Arglwydd fendithio y brawd Phillips, a'i deulu, a'r brawd Davis, a'i deulu gyda'r hyn oll a ddymuno eu calonau er eu cyflawn ddedwyddwch.

Bendithiad, gan y bugail Thomas Jeremy.

Am hanner awr wedi 6 o'r gloch, yn yr hwyr, dechreuwyd trwy ganu, a gweddi gan y bugail Daniel Daniels.

Y Llywydd Jones,—Diammheu y cydlawenhewch oll â mi, o herwydd i ni wybod ein bod yn Eglwys Iesu Grist, am ein bod yn frodyr a chwiorydd i'n gilydd, ac am mai cydymdrechu yr ydym yn mhlaid y ffydd, trwy ein gwybodaeth o'n bod ni yn blant i Dduw. Gallwn lawenhau oblegid y bendithion a'r breintiau a berthynant i ni, megys aelodau yn yr Eglwys hon; sef, caffael bod yn etifeddion o'r addewidion dwyfol, o ffydd, gwirionedd, cariad a gwybodaeth; yn etifeddion o'r hyn a dderbyniodd Crist yn rhoddion i ddynion: derbyniasom yr offeiriadaeth trwy ddwyfol alwad a chyfreithlon ordeiniad, yn holl amrywiol swyddogion Eglwys Crist.

Dyledswydd holl swyddogion cyhoeddus yr eglwys ydyw, nid

yn unig gweddio ac ymdrechu am y rhoddion a'r doniau ysbrydol addawedig i ni ein hunain, eithr ymdrechu am ennill ereill hefyd i'w derbyn a'u mwynhau; o'r un feddwl, o'r un galon, a chyda yr unrhyw benderfyniad calonog, gan dalu pob ufydd dod i bob gorchymyn, fel y delo bendithion i waered na byddo digon o le i'w derbyn; ac y tuedder y byd i orfod dywedyd, "Eich eglwys chwi, a gaiff fod yn Eglwys i ni; a'ch breintiau chwi, ein breintiau ninnau." Ymdrechwn am gyrhaeddyd yn mlaen, hyd nes cael gafael ar y gwirioneddau a'n deil i fyny, pan fyddo y byd yn ymddattod, a'r bobl heb wybod pa le i gael dihangfa. Bendithier ni oll gydag etifeddu nerth Duw.

Y Llywydd S. W. Richards, o Liverpool,—Tybiaf, mai nid yn unig o fewn fy nghalon fy hun y teimlir dylanwadau hyfryd, ond hefyd ynghalon pob un ar a ddaeth i'r cyfarfod dyddorol hwn. Canfyddais eich bod yn mwynhau dylanwadau daionus oddi uchod, tra eich anerchid, gan y brodyr, yn eich iaith eich hunain. Minnau hefyd, a deimlaf duedd i lawenhau am fy mod yn gwybod mai ymadroddion a lafarwyd wrthych, o'r fath ag y sydd yn dwyn iachawdwriaeth i ddynolryw.

Dymunaf ar y rhai a lafuriant yn y gorchwyl o addysgu y Saint fyned a lledaenu y gwirioneddau a glywsant yma, fel y byddo i'r flwyddyn sy gerllaw ddwyn cynnyrch toreithiog, yn Nghymru, oddiar lafur y flwyddyn sydd agos a therfynu, megys ag yn yr holl ynysoedd Prydeinig; ac hyderaf mai felly y bydd; ac y dwg yr offeiriadaeth santaidd les mawr i ddynion, er gogoniant i'r Arglwydd

Y Llywyddiaeth Gymreig sydd yn ymyl cael ei throsglwyddo i ofal brodyr ereill; ond gan belled y mae a wnelo y llywyddiaeth ynddi ei hun, nid yw hi yn newid dim yn ei natur, nag ar y pethau da sy sefydliedig yn mhlith y Saint. Mae gwaith mawr wedi ei wneuthur, yn ystod llawer o flynyddoedd, trwy lafur diflin y Llywydd Phillips; llafuriodd ef, i'w anrhydedd ei hun ac i ogoniant Duw yn yr Efengyl. Difyr ydyw genyf allu dwyn tystiolaeth o barch iddo ef, ac i holl weision Crist—yn yr Eglwys, trwy Gymru: gwaith mawr a rhyfeddol a wnaed yn y blynyddoedd a aethant heibio, ac yr wyf yn llawenhau o herwydd hyny. Hyderaf y bydd i'r holl frodyr, a'r chwiorydd barhau i wneyd daioni mawr, er lles a chysur iddynt eu hunain

er cyflelyb iachawdwriaeth i ereill, ac er gogoniant i Dduw, yr hwn a biau y gwaith.

Sicr ydwyf, os y teimla yr holl frodyr a'r chwiorydd presennol, ynghyda'r holl Saint yn Nghymru, mai eu dyledswydd a'u braint i'w iddynt oll gynnorthwyo y Llywydd Phillips, yn unol a'u galluoedd, i fyned yn gysurus i Seion. y bydd i'r Arglwydd eich bendithio oll. Braint i'r Llywydd Phillips, ydyw myned i Seion; a braint i ninnau ydyw cyfranu yn unol a'n galluoedd tuag at ei anfon ef yno yn gysurus.

(*I'w barhau.*)

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, CHWEFROR 11, 1854.

Yr ymfudwyr mynedol:—Hwyliodd dau gant a phedwar a thrugain o Saint Cymreig, o Lynlleifiad, ar fwrdd y llong *Golconda*, nos Iau yr 2il o'r mis hwn, rhwymedig tuag Orleans Newydd. Angorasant yngolwg y porthladd hyd boreu Sadwrn y 5med, pryd y lledasant eu hwyliau mawrion i'r dwyreinwynt, yr hwn a'u cipiodd ar frys o'n golwg ni i'r eigion gorllewinol. Pleser genym yw dweyd fod ymddygiadau yr holl gwmpeini ar hyd y ffordd i, ac yn Llynlleifiaid, yn hynod o foneddigaidd, cywir, caredig, a duwiolfrydig—heb eithriad. Cawsom y pleser o'u cyfarwyddo i'r llong yn hwylus, a'u nwyfau yn brydlawn a digolled,—o'u sefydlu yn eu lleoedd yno, ac o'u cyfarwyddo tra yno i fwynhad o'r oll a ddymunent erbyn y fordaith. Ymffrost genym yw dweyd na chlywsom air croes rhwng neb o honynt,—na welsom wg ar wêdd neb yn y llong, ac ni allwn ganmol mwy ar y chwiorydd anwyl, nag a deilynga eu hamynedd diderfyn, a'u sêl didrai dan bob amgylchiad. Ni welsom namyn undeb a chydweithrediad dieithriad i'r oll a geisid. Tra yn y llong ar yr afon hyd o fewn ychydig i'w hwyliad, pleser oedd bod yn eu plith, a gweled eu sirioldeb; methasom gael gan un, er perswadio yn daer, i droi yn ol i

Gymru gyda ni; eu hateb oedd, tosturio wrth ein colled ni o fethu myned gyda hwy; ac hawdd deall mai dyna oedd eu teimladau. Pan yn troi yn ol i'r lan y waith olaf, ni ellir desgrifio yr olygfa, y ffarwelo, y siglo dwylaw, a'r cofio at berthynasau a chyfeillion, yr wylo dagrau o garedigrwydd; ac fel yr hwyliai yr agerfad yn bwyllog draw, dringent oll i'r olygfa olaf, eu hetiau a'u cadachau oll yn faneri a chwifient uwch eu penau; eu lleisiau hoff a'u hofferynau cerdd a suddent oll i'r dyfnder draw oedd rhyngom. Ein gweddi barhaus fo ar i Dduw eu Tad o'i ddwrn ddihidlo dwyreinwynt teg a hyfryd ar eu hol, nes cyrhaedd y porthladd dymunol.

Heblaw y nifer uchod o Saint Cymreig, y mae ar y bwrdd braidd gynnifer o Saint o Loegr, oll o tan Lywyddiaeth Dorr P. Curtis, dyn deallus, profiadol a duwiol: ei Gynghorwyr yw yr Henuriaid, Squires a W. S. Phillips, ein ddiweddar Lywydd o Gymru. Yr oedd yn y cwmpeini hefyd amryw Lywyddion ereill, a gweision ffyddlon i Dduw, rhai ag y bydd cofiant hir a melys am eu henwau, a chofiant diolchgar am y daioni a wnaethant i laweroedd. Ffrwyth llafur arosol dyn yw y golud goreu a all adael ar ei ol, yn goffadwriaeth i'w olynwyr. Doeth y dywedai Crist "Yr wyf fi yn eich danfon chwi fel yr eloch ac y dygoch ffrwyth ag yr aroso eich ffrwyth—yr aroso y rhai a ddygasoch i'w deyrnas, yn ei gyfiawnder ef, ar yr arosont yn dragywydd yn ei deyrnas nefol; fel yr aroso eich gweithredoedd da ar gof ereill i deilyngu efelychiad; ac felly, bydded coffadwriaeth y brodyr ffyddlon a'n gadawsant ar fwrdd y *Golconda*, yn symbylu eu cydnabod i'w dilyn yn mhob daioni ac i brysuro ar eu hôl. Cynnaliwyd cyfarfodydd bob hwyr ar fwrdd y llong, a hawdd oedd canfod dylanwadau ysbryd y cariad yn mhlith yr ymfudwyr. Mewn cydsyniad a'n dymuniad arnynt, addawsant yn gyffredinol, nag anghofiant eu brodyr a'u chwiorydd a adawsant ar ol ynghaethiwed Babilon; eithr y gwnant a allant wedi cyrhaedd pen eu taith i anfon am danynt, drwy dalu i'r Gymdeithas Ymfudol yno arian eu clydiad; a boddlonwyd ni yn fawr wrth weled cynnifer a allai yn ymrwymo i hyny cyn cychwyn, drwy offrymu i'r Drysorfa gost eu cludiad presennol. Calonoga y newyddion hyn y Saint tlodion yn Nghymru i ddysgwyl eu hymwared yn fwy gobeithiol nag oll; ac etto meddwn wrth yr rhai sydd ganddynt berthynasau

neu gydnabod ar y ffordd yn myned, neu wedi cyrhaedd Seion, ysgrifenwch ar eu hôl, na adewch iddynt eich hanghofio, a llwyddiant y "weddw daer," hono a ganmola ein Harglwydd am ei thaerineb a gorono eich ymdrechiadau.

Cawsant wynt teg a hyfryd ddydd Sadwrn a dydd Sul i ddechreu eu mordaith, ac hyderir eu bod wedi cyrhaedd yn ddiangol i'r cefnfor.

---

## AMLYGRWYDD EGLWYS CRIST I'R BYD.

Goleuni sydd amlwg, yn hunan-eglurhäol, ac yn arddangos yr hyn oll a ddichon fod o fewn cylch ei gofleidiad: fel mai hawdd i bob perchen llygad yw gweled y dydd, ynghyd a'r gweithredoedd a wneir ynddo, mor bell a chyrhaeddiad ei olwg, pa un bynag ai da ai drwg ei gymmeriad.

Er nad oes ond y rhai a farchnatäont yn gwybod gwerth a rhinwedd y nwyddau a geir mewn masgnachdy, etto dichon y dyeithr a'r anghenog, na arferasant a marchnata yno, wybod mai masgnachdy ydyw, am fod y nwyddau, a'r arwydd uwch ben ei ddrws, yn dangos hyny iddynt mewn modd eglur ac anwadadwy.

Bwriadodd Crist i'w Eglwys fod yn amlwg; nid yn unig i'w ddyscyblion, ond hefyd i'r byd. "*Chwi yw goleuni y byd. Dinas a osodir ar fryn ni ellir ei chuddio. Ac ni oleuant ganwyll, a'i dodi dan lestr, ond mewn canwyllbren; a hi a oleua i bawb sydd yn y tŷ. Llewyrched* FELLY *eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd.* Tra y bu Crist a'i apostolion ar y ddaear, yr oedd ei Eglwys ef yn eithaf amlwg; hyd nes oedd yr angrhedadyn a'r erlidiwr yn gwybod am ei swyddogion a'i haelodau, mor rwydd a'r credadyn a'r brawd. Gwaghau yr Eglwys o'i nwyddau priodol, trwy gludo iddi yn raddol draddodiadau dynion llygredig eu meddyliau, a achosodd lygredigaethau ac ymraniadau, a pheri na fedrai y byd ddirnad yn mha le y ceid gafael ar Eglwys Iesu Grist; eithr y mae bod lluoedd wedi derbyn doniau yr Ysbryd Glân yn ein hoes ni, a bod lluoedd ereill yn ymffyrnigo i'w herlid, yn brofion y deuodd yr Eglwys i'r amlwg unwaith yn ychwaneg, fel y gwypo y byd ei bodolaeth.

Mae yr Eglwys i fod yn amlwg i'r byd, yn ei SWYDDOGION.

Wedi eu galw a'u hanfon fel y galwyd ac yr anfonwyd Grist, gan Dduw, yn ol urdd Milchisedec; heb na phwrs, na chôd, nac esgidiau, ac i bregethu yr Efengyl, "Er tystiolaeth i'r byd:" y maent hefyd i weinyddu yn yr *holl* ordinhadau a sefydlodd Crist yn yr Eglwys; gan annog dynion i gredu yn Nghrist, i edifarhau am eu pechodau, i gymmeryd eu bedyddio er maddeuant pechodau i gael arddodiad dwylaw yr Henuriaid, ac i addaw i'r rhai a ufyddhäont ddawn yr Ysbryd Glân; gofynol yw fod pob un o honynt fel Ioan, yr hwn oedd *brophwyd* ac yn *bedyddio*; ac hefyd fel Paul, a'i gyd lafurwyr, "Yn canmol eu hunaïn wrth *bob cydwybod dynion* yngolwg Duw."

Mae yr Eglwys i fod yn amlwg i'r byd, yn ei *Haelodau.* Adnabyddir hwy wrth eu ffrwythau; y maent i flaenori mewn gweithredoedd da, fel y gwelo y byd y cyfryw mor amlwg ag y gwelir canwyll oleu ar fwrdd, mor arddangosiadol a dinas ar fryn, ac mor hunaneglur a goleuni ymëangol yr haul. Y maent i ragori mewn maddeu i'w gilydd hyd i bedwar cant a deg a phedwar ugain o weithiau y dydd; ac hefyd i fod yn amlwg eu Hunoliaeth. Dysgodd Crist undeb, mewn egwyddor; "Teyrnas wedi ymranu a anghyfaneddir, a thŷ wedi ymranu yn ei erbyn ei hun ni saif; trwy gydmariaethau; megys, cangenau y winwydden—pren, rhwyd, surdoes, teyrnas, corff, praidd, un gorlan ac un bugail; a dysgodd Crist unoliaeth yn ei weddi ar eu rhan; "Fel y byddont oll yn un; megys yr wyt ti, y Tad ynof fi, a minnau ynot ti; fel y byddont hwythau un ynom ni; *fel y credo y byd* mai tydi a'm hanfonaist i." Yn olaf y mae i'r Eglwys fod yn amlwg i'r byd yn ei HEFFEITHIAU. Gwyrthiau wrthynt eu hunain, fel gan swynwyr yr Aifft, ni phrofant ddynion yn feddiannol ar yr offeiriadaeth santaidd, ond mewn cyssylltiad ag athrawiaeth bur, a buchedd dduwiol, y maent yn profi cyflawniad o addewid Crist i'w Eglwys; "Yr arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant." Breintiau er adeiladaeth i'r Eglwys yw amryw ddoniau yr Ysbryd Glân; eithr dywedodd yr Apostol Paul, "Os prophwyda pawb, a dyfod o *un digred neu annysgedig* i mewn, efe a arghoeddir gan bawb, a fernir gan bawb; ac felly gwneir dirgelion ei galon ef yn amlwg; ac felly gan syrthio ar ei wyneb, efe a addola Dduw, gan ddywedyd fod Duw yn wir ynoch."

Saint! Nid digon dywedyd y gwyddom ni ein bod yn

Eglwys Iesu Grist; eithr dylai y byd wybod, trwy ein gweithredoedd da, ein maddeugarwch, ein hunoliaeth, a'n mwynhâd o amryw ddoniau yr Ysbryd Glân ein bod yn blant Duw. Dylem fod yn halen y ddaear, a'n hanian i fod yn flasus; megys y mêl, yn hawdd genym fod yn felus; ac fel Crist, yr hwn a ddywedodd, "Tra yr ydwyf yn y byd, goleuni y byd ydwyf."

Mae cenedlaeth ddrwg yn ceisio arwydd yn fynych, o'r fath ag na roddir iddi; ond y mae arwyddion y dylai hyd y nod cenedlaeth ddrwg eu cael; sef, "Plant yr Arglwydd, yn arwyddion a rhyfeddodau, oddiwrth Arglwydd y lluoedd," yn eu bucheddau ger bron y byd. Diammheuol ydyw y tueddir pobl wrth weled ein hymddygiadau santaidd, i naill ai cydymffurfio a ni, trwy ufyddhau i'r Efengyl a'i hordinhadau, gan gymmeryd eu dysgu i gadw pob peth a orchymynodd Iesu Grist eu cadw, neu ynte i droi a'n herlid:—Y neb a ewyllysiont fyw yn dduwiol yn Nghrist Iesu a erlidir; a byddant yn ddrych i'r byd. Taflu gemau o flaen moch, a fyddai ceisio hilio gwleddoedd yr Eglwys o flaen y byd; nid oes i'w gosod ger bron y byd namyn annogaethau at ufyddhau i'r Efengyl, trwy ddysgu i'r bobl yr egwyddorion cyntaf, a dangos iddynt ôl y fagwraeth nefol a geir yn yr Eglwys, trwy ymwadu a phob budreddi annuwioldeb a chwantau bydol, gan ymdrechu byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awrhon. Ac os erlidir ni, cawn ein dysgu a'n perffeithio trwy ddyoddefiadau.

Cwpan felus yw y cwpan cyntaf wrth geisio byw yn dduwiol; sef, parch. Yr ail sydd chwerw,—anmharch: a'r trydydd sydd chwerw hefyd,—anghlod; ond,—os awn trwy y tri, parch, anmharch, ac anghlod, nyni a gawn gwpan felus iawn yn y diwedd; sef clod nad eir drwyddo byth, "Da was da a ffyddlon—dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd."—Ac hyd y nod y pryd hyny, mewn llawenydd, fel Abraham i'r gwr goludog, nyni a fyddwn, er ein gwynfyd, yn amlwg hollol i'r byd ac efe mewn poenau. ROBYN DDU, ERYRI.

---

## NEWYDDION EGLWYSIG CARTREFOL.

CAERFYRDDIN.—Mae argoelion llwyddiant yn y Gynnadledd hon, ac hynod ddymunol oeddynt y teimladau da a lywodraethent yr holl Saint a'r gwrandawyr, ar y Sul a'r Llun, 29 â'r 30

o'r mis diweddaf, yr oedd presennoldeb yr Ysbryd Glân yn fendithiol ac yn amlwg; cafodd yr Henuriaid hwylusdod a goleuni mawr i lafaru; tystiolacthai yr holl lywyddion cangenau mai llesol ydoedd iddynt hwy fod yno; ac ar ddiwedd y cyfarfod nos Lun, a'r mwyafrif o'r gwrandawyr lliosog heb fod yn Saint, yr olwg oedd yn hyfryd; cyd safodd, a chyd ganodd y dorf, ac ni syflodd un o'r bobl hyd nes wedi eu gollwng ymaith trwy weddi a bendithiad Llywydd y Gynnadledd.

---

## NEWYDDION EGLWYSIG TRAMOR.

CALCUTTA.—Y gwrandawiad sy liosog, ar gwrandawyr yn amlach nag erioed tra y traddodid Darlithiau iddynt yn mis Rhagfyr diweddaf. Ymddangosai llawer eu bod yn credu, ac ychwanegwyd tri trwy fedydd.

Yn Rangoon, ymddengys fod y gwaith yn myned rhagddo; bedyddiwyd rhai, ac y mae amryw yn credu.

Ceir newyddion cysurus o bob cwr, Cartrefol a Thramor, ac iachawdwriaeth Duw sydd o amgylch ei bobl fel mur o dân i'w gwaredu ac i'w puro, rhag gelynion allanol ac oddiwrth bob anmherffeithrwydd mewnol

---

## ARWYDDION YR AMSERAU.

NIFER pobl y byd sydd ddeg can miliwn: llefarant oddeutu tair mil a phedair a thrugain o wahanol ieithoedd; proffesant tros fil o grefyddau gwahaniaethol; ac ymranant i rifedi mor lïosog a nod y bwystfil, o bleidiau anghytunol, tan yr enw Cristionogaeth! Eglwys Iesu Grist sydd Un; a mawr, ond byr waith a wna yr Arglwydd ar y ddaear. Cyflawnir prophwydoliaethau, hen a diweddar, ger bron ein llygaid, gydag amlygrwydd anwadadwy; ac amser ydyw i ddynion feddwl yn ddifrifol am ufyddhau i'r Efengyl, ynghydag am gadw holl orchymynion Duw. Mae gwaedgwn rhyfel yn udo; bualgorn brwydro oedd ar enau ein brenines, a phob areithiwr, yn ymgasgliad dau dŷ y Senedd, ddydd Mawrth, y 31 o'r mis diweddaf; ac arth grafangog Rwssia ydyw gwrthrych camp yr helwriaeth waedlyd. Enfyn Ffrainc ddeugain mil o arfogion, ac ychwanega Lloegr ddeng mil o wyr traed, deng mil o lynges-

wyr, a thair mil o forfilwyr, at y miloedd sy ganddi eisioes o'r cyfryw, i'r dyben o gynnorthwyo Twrci. Arfogir dynion gan Sweden gyda phrysurdeb, heb sicrwydd gan neb o'i bwriad, heblaw y tybir mai yn mhlaid Rwssia y trydd; eithr ceir argoelion y saif Awstria, Prwssia, a Denmarc, gyda Lloegr a Ffrainc. Rhwng un a dau o'r gloch, boreu Gwener, 13 o'r mis diweddaf, yn ystod dudew dywyllwch, a'r holl drigolion yn cysgu, bu daeargryn arswydus, yn Ffinana, Almeria, Yspaen. Ysgydwyd a thröwyd y tir yn ddisymmwth, gan rês o sigliadau cynhyrfiol yn dilyn eu gilydd gydag ymhyrddiadau cyflym; a'u swn ymestynol oedd fel twrf taranau yn ymrolio trwy yr eangderau. Holltwyd y ddaear yn agenau anferth; darniwyd rhan o hên gastell Alcazaba yn chwilfriw; drylliwyd nifer o dai yn gyrbibion: achoswyd yn yr heolydd wagleoedd erchyll; ac anafwyd llawer o ddynion yn ofnadwy. Pläau a heintiau angheuol sy'n cyniwair trwy amrywiol wledydd; ac y mae marwolaeth feunyddiol yn llyngcu pobl wrth y nifer o un-fil-ar-ddeg a phedwar-ugain, wyth gant a phedwar ar hugain y dydd; sef, tair mil saith gant a deg-ar-hugain yr awr, neu dri-ugain bob mynyd! Er y cyfan, cynnyddu y mae rhinweddau a nifer Saint y Dyddiau Diweddaf; Ymfudodd cannoedd o honynt eleni tua Seion; a miloedd sydd etto yn ol, mewn awydd hiraethlawn am fyned yno. Yn amser rhyfel rhwng Prydain a Ffrainc, cymmerwyd amryw o wyr Lloegr yn garcharorion, ac yn eu plith dabyrddwr ieuanc; ond pan ganfyddwyd byddin Lloegr yn ennill yr oruchafiaeth, deisyfodd un o swyddogion y gelyn ar i'r bachgen dabyrddu "*Enciliad. Pa beth yw hyny?*" gofynai yntau; atebwyd mai curo y tabwrdd i alw y milwyr i gilio a ffoi. Ac ebe y bachgen, "Ni ddysgais i erioed y fath beth; ond *Awn yn mlaen* a ddysgwyd i mi!" Saint! Na ddysged neb o honom y ffordd i droi yn ol; ond *Awn yn mlaen*, ac etifeddwn fywyd tragywyddol.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CWESTIWN.—Paham y dywedir yn rhifyn 5med o'r *Star*, mai W. S Phillips yw Llywydd yr Eglwys Gymreig, pan y dywedir yn yr UDGORN, rhifyn 1af, mai yr Henuriad D. Jones yw y Llywydd ar yr Eglwys Gymreig? Eglurhâd a foddha amryw heblaw fy hunan.—T. H. D.

ATEB.—Gwelir mai y cynnrychioliad hanner blynyddol oedd yn terfynu Rhagfyr 31, 1853, sydd yn y *Star*; a'r achos o'i ohiriad hyd y 5med rhifyn, oedd o herwydd esgeulusdod rhai Llywyddion Cynnadleddau i anfon eu cyfrifon i Lynlleifiaid. O'r amser uchod mae y Llywyddiaeth wedi newid, fel y dywed yr UDGORN a'r *Star* yn eglur.—GOL.

YR EURGRAWN YSGRYTHYROL,—GOSTYNGIAD EI BRIS!—Ni wyddom am well Llyfr i'w gymhell i sylw a manwl ymchwiliad Saint a byd, na'r *Eurgrawn* o tan yr amgylchiadau presennol. Pe arall fuasai ei Awdwr esgusodid ni am roddi taerach cymhelliad o'i blaid; eithr fel y mae, dywedwn ei fod y goreu a allasem ei wneyd gogyfer â'r anghenion; ac ychwanegwn ein bod yn cael mawr bleser wrth chwilio ei dudalenau; ac er fod ein manteision yn Seion, a phrofiad rhai blynyddau wedi cynnyddu ein gwybodaeth am rai pethau, etto nid oes neb anystyriol o'r pwysigrwydd o iawn gyfarwyddo y meddwl dynol tua'i dragywyddol dynghedfen, a iawn brisia deimladau yr awdwr pan fetha a chael allan, er manwl chwilio, *un cyfeiliornad* na lle i welliant yn yr *Eurgrawn*. Hyderwn y bydd Llywyddion Cynnadleddau yn awyddus i gael ei gynnorthwy i ddysgu y Saint eu dyledswyddau ac na welir teulu nag aelod heb ei feddu, a'i ystyried yn gyfaill mynwesol, yr hyn a deilynga fod. Ei bris sydd fel y canlyn:—

Mewn croen dafad, neu hanner croen llo, i'r Cynnadleddau 3s 6c; i'r Cangenau, 3s 8c; i'r cyhoedd, 3s 9c. Etto, hanner croen dafad, i'r Cyn., 3s; i'r Cang. 3s 2c; i'r cyhoedd, 3s 3c. Y neb a ewyllysio sicrhau yr "Eurgrawn" am y prisiau uchod, gwell iddynt anfon ar frys, rhag eu siomi; ac nid tebyg y daw ail argraffiad yn fuan.—GOL.

---

DERBYNIADAU O ION. 28 HYD CHWEF. 9.—Dwyr. Morganwg, £1 8c 6; Liverpool (Cym.), £1.—Cyfanswm, £2 8s 6c.

☞ Bydded ein gohebwyr yn amyneddgar.—O ddiffyg lle, gorfuwyd arnom adael amryw bethau allan y tro hwn.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones, 14, Castle Street, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14 CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 7.] CHWEFROR 18, 1854. [CYF. VII.

## Y DUW A ADDOLIR!—PWY YW?

[Parhad o dud. 90.]

MAE digon wedi ei egluro, er profi yn ddiammheuol y bod Duw Dad yn feddiannol ar gorff, rhanau, a nwydau, ac ei fod yn wrthrych addoliad; ac hefyd y bod Duw y Mab yn feddiannol ar gorff, rhanau, a nwydau, ac etto eu bod hwy yn hollbresennol, o herwydd y cyflawnder o'r Duw "Ysbryd" ag sydd ynddynt hwy; y fod y naill a'r llall yn hollwybodol, o herwydd yr *hollwybodaeth* ag sydd yn yr Ysbryd hollwybodol a feddant; eu bod yn hollalluog trwy yr hollalluogrwydd ag sydd yn y sylwedd ysbrydol hwn. O herwydd y deallant eu ddeddfau yr ufyddha iddynt yn mhob peth; megys, er enghraifft, pan yr ymsymmudodd ar wyneb y dyfnder yn y dechreuad, ac yr ymreoleiddiodd yr holl elfenau drwyddo, canys "y mae efe yn mhob peth, a thrwy bob peth," nes y cyhoeddodd y Gorchymynwr, bob peth "yn dda iawn." Fel hyn y "cynnalia efe bob peth trwy air ei nerth." Felly, pe byddai miliynau o fodau yn Dduwiau oll, gellid addoli yr oll heb addoli ond un Duw. Mae ein gosodiad blaenorol o gredu personoliaeth a hollbresennoldeb Duw, wedi ei brofi yn modoldeb y ddau Dduwiau unol hyn; a gwelir fod y Saint yn addoli y gwir a'r bywiol Dduw, tra yr addola eu gwrthwynebwyr "yr hyn ni wyddant," neu "y Duw nid adwaenir."

Yn nesaf, anturiwn brofi mai tynghedfen holl feibion daearol Duw, pa rai ydynt ddynion yn gwisgo cnawd llygredig, yw

cyrhaedd yn Dduwiau perffaith, hollalluog a hollwybodol. Ymresymir mai anmhosibl i hyny fod, o herwydd mai "galluoedd meidrol" sydd gan ddyn, meddir, ac nad all meidroldeb byth gyrhaedd anfeidroldeb. Eithr ni chaniatawn mai meidrol yw galluoedd dyn. Pwy a welodd ddyn a allodd gredu un gwirionedd, heb allu credu yr ail, a'r trydydd, a'r pedwarydd. Nid yw yr anhawsderau ag sydd ar y ffordd i gredu ychwaneg yn profi ei analluogrwydd; canys symmuder y rhwystrau, ac efe a greda fwyfwy o hyd. Os oes gallu dynol ynddo, yr hyn a brofir drwy iddo gredu y gwirionedd cyntaf, ni ddirnadwn paham nad alla gynnyddu o wirionedd i wirionedd, nes y cyrhaedda yr oll ag sydd gan unrhyw fôd. Pwy a all gofio cyfnod neu amgylchiad arno ei hun, pryd nad allasai gredu un peth yn rhagor? Pwy a ddywed pa bryd, neu dan ba amgylchiad, y dichon iddo fod, fel nas gall dderbyn unrhyw wybodaeth ychwanegol, tu yma i gyrhaedd y cyflawnder o bob gwybodaeth a fedda Duw? Gweler, ynte, nad y *galluoedd* sydd yn feidrol, ond y *wybodaeth* a feddwn meidrol yw, etto yn cynnyddu tuag at anfeidroldeb bob ychwanegiad ati. Y grediniaeth o feidroldeb y galluoedd dynol a achosa i dduwinyddion ddysgu mai anmhosibl i ddyn byth gyrhaedd cyflawnder gwybaeth, nac o ganlyniad, y gall byth ddyfod yn Dduw; eithr gwelir y fod galluoedd dyn, nid yn unig yn dragywyddol ac anfeidrol, a'i fod yn alluog i dderbyn pob gwybodaeth a ddysgir iddo, eithr hefyd ei fod yn gyfryw na ddigonir byth mo hono, hyd nes eu diwallir â hollwybodaeth. Profasom eisoes mai cynnyddol oedd gwybodaeth Mab Duw, o wirionedd i wirionedd, yn llin ar lin, nes y "cyflawnwyd ef â holl gyflawnder Duw;" dyna brawf o gynnyddiant un galluoedd meidrol hyd anfeidroldeb. Yn nesaf ceir profion ysgrythyrol, nid yn unig y dichon meidroldeb pob dyn gyrhaedd anfeidroldeb; ond trwy y dywediadau canlynol deallir fod Duw, naill ai wedi creu galluoedd mewn dyn yn bwrpasol, a bwriadol iddo gyrhaedd anfeidroldeb ryw bryd, neu y fod gweddiau Iesu Grist ar ei Dad yn profer, pan yn dymuno ar fod ei holl frodyr a gredent ynddo ef, yn un ynddo ef, *megys* yr oedd efe yn y Tad, sef mewn gwybodaeth a gallu; fel y byddont hwythau OLL yn UN ynddo ef mewn pob cyflawnder a feddai Efe. Os nad yw y Saint i gynnyddu hyd hollwybodaeth, gallu, a pherffeithrwydd

Duw, gofynwn i ba beth y bwriadwyd crefydd? Beth amgen yw dyben trefn yr iachawdwriaeth? Pa fodd y dichon i Dduw fod yn achubydd dyn, hyd nes y perffeithia Efe ef yn gyffelyb iddo ei hun yn mhob peth. Gan mai Efe yw y safon o berffeithrwydd—mai ei ddiben a'i amcan yn yr oll yw gwneyd ei blant yn berffaith—mai ei Ysbryd Glân yw y perffeithydd neu y santeiddydd; a chan y gorchymyna Iesu Grist iddynt fod yn berffaith, megys y mae eu Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith; yna, yr hwn a wada y posiblrwydd i allu meidrol presennol ei blant gynnyddu hyd anfeidroldeb, a gyhudda Dduw o fod yn eu gorchymyn i ufyddhau i anmhosiblrwydd creadigol o'i waith ei hun. Os nad yw y cynnyddiant dynol i anfeidroldeb yn bosibl, yna gweddiai Paul i'r Ephesiaid dderbyn anmhosiblrwydd, pan y dywed yn mhen. iii, 18, 19,—"Fel y galloch, wedi eich gwreiddio a'ch selio mewn cariad, amgyffred gyda'r holl saint, beth yw y lled, a'r hyd, a'r dyfnder, a'r uchder; a gwybod cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth, fel y'ch cyflawner â holl gyflawnder Duw." Oni fyddant mor anfeidrol ag unrhyw bersonau dwyfol ereill, pan y byddant "wedi eu cyflawni â holl gyflawnder Duw?" Yna byddant yn anfeidrol, serch mai galluoedd dynol a feddent tra yn y cnawd. Y Duw hwn yw y cyflawnder o berffeithrwydd y priodoliaethau ag y soniasom am dano eisoes. A phan y preswylia hwn yn y Saint, nad faint fydd o honynt, bydd pob un yn gwybod pob peth a wyr y Tad a'r Mab. Ni fydd un dim a wyr un na'r oll o'r Duwiau yn ei wybod, ar na fydd pob un o'r Saint wedi dyfod i wybodaeth o hono hefyd. Cyd-dystia Ioan â ni yn hyn yn eglur, yn 1 Ioan iii, 2,—"Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn: eithr ni a wyddom, pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo; oblegid ni a gawn ei weled Ef megys ag y mae." Nid "yn gyffelyb iddo" o ran ein cyrff yn unig, ond hefyd ein gwybodaeth a'n gallu; canys dywedir yn Phil. iii, 21,—"Yr hwn a gyfnewidia ein corff marwol ni, fel y gwneler ef yr un ffurf a'i gorff gogoneddus ef, yn ol y nerthol weithrediad trwy yr hwn y dichon efe, ïe, ddarostwng pob peth iddo ei hun." Y pryd hyn y byddant berffaith, megys y mae eu Tad yn berffaith, yn bur fel efe; yna yr adnabyddant megys eu hadnabyddir, gan y bydddant oll yn hollwybodol; y gwelant megys eu gwelir

canys byddant hollbresennol, yn feddiannol ar bob peth, canys dywedir yn Rhuf. viii, 16, 17, 30,—" Y mae yr Ysbryd hwn yn cyd-dystioliaethu â'n hysbryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw. Ac os plant, etifeddion hefyd; sef etifeddion i Dduw, a chyd-eitfeddion â Christ: os ydym yn cyd-ddyoddef gydag ef, fel ein cyd ogonedder hefyd. A'r rhai a ragluniodd efe, y rhai hyny hefyd a alwodd efe; a'r rhai a alwodd efe, y rhai hyny hefyd a gyfiawnhâodd efe; a'r rhai a gyfiawnhâodd efe, y rhai hyny hefyd a ogoneddodd efe." Hefyd, dywedir "y mae pob peth yn eiddo chwi, a chwithau yn eiddo Crist, a Christ yn eiddo Duw." Nid cyn y cynnydda eu galluoedd meidrol hwy, megys y cynnyddodd galluoedd meidrol eu brawd hynaf i gyflawnder anfeidroldeb y Duwdod, y bydd pob peth yn eiddynt hwy. Ni welwn ni ddim mwy anmhriodoldeb i gredu fod galluoedd y brodyr ieuengaf i gynnyddu i anfeidroldeb, nag oedd i'r brawd hynaf; na dim mwy anghysson i'r naill o'i blant, wedi dyfod yn Dduwiau, feddu pob peth, fwy nag i'r un o'r lleill a gyrhaeddasant y cyflawnder o'r Duwdod o'u blaen hwy, feddu pob peth; canys, yr oedd yr oll yn gwneyd pob peth ac yn mhob peth, yn yr un ystyr, ac felly hwy a bïa bob peth.

Y pryd hyny, mor briodol y gall yr holl Saint ddweyd eu bod hwy "cyn pob peth," o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb heb ddechreu na diwedd iddynt hwy na'u gweithredoedd, ag yw i Iesu Grist, y Tad, neu un Duw arall ddweyd hyny. Y pryd hyny, dywed y naill wrth y llall, Yr wyf fi ynot ti, a thithau ynof finnau, mor briodol ag y dywedodd Iesu Grist hyny wrth ei Dad; ac nid gwir na phosibl hyn fel personau; ond o ran y Duwdod ag sydd ynddynt, mae mor briodol i'r naill ag i'r llall, pe llall hefyd; canys un *Duw* fyddant, er yn wahanol *bersonau.* Yn 2 Cor. iii, 18,—" Eithr nyni oll, ag wyneb agored, yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd megys mewn drych, a newidir i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoninnt, megys gan Ysbryd yr Arglwydd." Erbyn y delo "Ysbryd yr Arglwydd" a hwy oll "i'r unrhyw ddelw," yna mwynhant yr un gogoniant ag Ef, ac â'u gilydd.

Wedi geni dynion o Dduw drwy ddwfr a'r Ysbryd, y mae cyfran o'r Duwdod yn cael ei blanu ynddynt, yr hyn yw "dawn yr Ysbryd Glân;" dysgwylia Duw y cynnyddiant o

hwn ynddynt yn barhaus trwy ymwrthodiad â'r drwg, ac ufydd-dod iddo Ef, hyd nes eu perffeithio drwyddo, a chael o honynt deml anllygredig yn yr adgyfodiad cyntaf. Etto, nid y pryd hyny chwaith, oddieithr y fod cyfran o'r Duwdod yn preswylio ynddynt yma; canys dywedir yn 1 Ioan iv, 12, 13,—"Ni welodd neb Dduw erioed. Os carwn ni ein gilydd, y mae Duw yn trigo ynom, ac y mae ei gariad ef yn berffeith ynom. Wrth hyn y gwyddom ein bod yn trigo ynddo Ef, ac yntau ynom ninnau, am ddarfod iddo roddi i ni o'i Ysbryd." Yr Ysbryd hwn a breswylia ynddynt nes eu dwyn ar ddelw eu Tad, fel y dywed Paul,—"Os ysbryd yr hwn a gyfododd Iesu oddiwrth y meirw sydd yn trigo ynoch, yr hwn a gyfododd Grist oddiwrth y meirw, a fywioca hefyd eich cyrff marwol chwi trwy ei Ysbryd yr hwn sydd ynoch chwi." Profasom hefyd eu bod nid yn unig ar ei ddelw gorfforol, ond yn feddiannol ar ei holl berffeithrwydd ef yn mhob dull, ac y cyd-etifeddant bob peth ag ef; ac felly cyd-deyrnasant ag ef mewn gogoniant. Yna bydd eu llywodraeth dros bob peth, o herwydd bydd pob peth wedi ei ddarostwng iddynt, a byddant fwy na choncwerwyr ar bob peth. Byddant yn "Freninoedd ac yn Offeiriaid i Dduw, a theyrnasant gydag ef ar y ddaear." Bydd y gair DUW yn weledig ar dalcen pob un o'r dyrfa liosog; ac nid i arwyddo yr hyn NI fyddant, ond pawb a adwaenant eu bod yn teilyngu yr ENW a fydd arnynt, canys Duwiau a fyddant, yn meddu y cyflawnder o'r DUWDOD. O ddedwyddolion! Pwy na ystyria y mwynhad sylweddol, ac nid ffugiol nac "ansylweddol," o'r perffeithrwydd, y gogoniant a'r gallu hwn, yn werth dyoddef pob peth er ei fwyn? Nid rhyfedd i blant Duw gynt ddiystyru golud y byd, mewn cyferbyniad i'r anchwiliadwy olud hwn. Cymhwys y gallasant ddibrisio gorsedd-feingciau daearol ac amserol, wedi cael cipolwg ar y rhai tragywyddol a nefol hyn. Pwy a'i hiawn ystyria, ar nad ymdrecha, i ymberffeithio drwy santeiddiad Ysbryd Duw, i fod yn addas i'r oruchel gwmniaeth hyn? Cofier nad â i mewn i'r gogoniant hwn ddim aflan na halogedig! Braint anmhrisiadwy yw cael dyfod yn blant mabwysiadol i Dduw; canys i gynnifer a'i derbyniasant ef, "efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw." Mawr yw dyled y rhai a gawsant yr oruchel fraint o gael eu geni o'r Duwdod hwn, i wylied a gweddio, rhag tristâu ei Ysbryd ef

oddiwrthynt mewn un modd; canys hebddo gweler na ddeuant byth yn debyg i'w Tad. Saint anwyl, magwn, a meithrinwn y ddwyfol anian hon hyd y cyflawnder.

*(I'w barhau.)*

---

## CYMMANFA MERTHYR.

### CRYNODEB O'R HYN A WNAED AC A DDYWEDWYD YN Y GYMMANFA UCHOD.

[Parhad o dud. 93.]

MAE i bawb, yn yr Eglwys hon, eu hamrywiol freintiau; ac wrth i bob un gyflawni ei ddyledswyddau, a phawb oll i gynnorthwyo eu gilydd ynghyflawniad eu dyledswyddau, eu bendithir gan Dduw. Mae pob egwyddor a phob athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb yn dda; ac ni ddylai neb eiddigeddu, ond tros ogoniant Duw. Difoder o'n plith bob eiddigedd am gael swydd, ac am gael a deimlwn yn hawliau i ni yn y peth hyn a'r peth arall: eithr ein eiddigedd ni oll a fyddo tros gynnal i fyny y rhai sy mewn swyddau, fel ein cynnalier ninnau yn ein gwahanol gylchoedd; a gofalwn fod yr oll a wnelom, yn tueddu at anrhydeddu Arglwydd y lluoedd, canys pob swydd a phob dylanwad a feddwn, sydd eiddo yr Arglwydd.

Gofalwn ddywedyd yn dda ac yn barchus am weision Duw; a'r dull goreu i'n cymhell at hyny, ydyw peidio a llochesu ammheuon a theimladau anymunol am danynt na thuag attynt. Gweddiwn tros y rhai sy'n myned i Seion. Y neb a iselo, neu a gefnogo ereill yn eu cais at iselu cymmeriad y Llywydd Phillips, wedi yr elo ymaith, a iselir, ac a arweiniant eu gilydd i uffern; canys a pha fesur y mesuroch, yr adfesurir i chwithau.

Nyni a dderbyniasom yr unrhyw brynedigaeth; yr ydym yn yr unrhyw gyfammod newydd; cawsom ein bedyddio i'r un ffydd, trwy yr unrhyw fedydd, er maddeuant pechodau; ac yr ydym yn un Eglwys Iesu Grist, a sefydlwyd gan yr un Arglwydd Dduw, er iachawdwriaeth dynion. Derbyniasom, ac am hyny cadwn a chofleidiwn egwyddorion y Gwirionedd,—egwyddorion y bywyd tragywyddol, ac yna nis gall y byd ein hyspeilio. Dëallwn a gwnawn ein holl ddyledswyddau, a bydd

i Dduw ein bendithio, ein cynnal, a'n cadw yn dragywydd. Y dyn goreu, yw y dyn sydd yn deall ac yn gwneyd ei ddyledswyddau oreu.

Anfonwyd ataf, mewn perthynas i'r "Drysorfa Ymfudol Barhaus." Trysorfa ydyw hon a ffurfiwyd ac a gyfansoddwyd yn unol a chyfraith y tir. Anfonir yr arian i'r llywyddiaeth yn Liverpool, ac oddi yno i ddwylaw yr awdurdodau yr ochr draw i'r môr, yn Seion: dodir yr arian mewn gweithrediad i gynnyddu, fel eu lliosoger at anfon cantoedd a miloedd o Saint i Seion yn awr, ac mewn amseroedd dyfodol; nid oes un sail nag achos i neb personau ammheu nac ofni y gwneir cam a hwynt, mewn un modd; a chaiff pawb, o dro i dro, y fraint o fyned adref i Seion. Rhoddir yn awr fenthyg tair pynt, i bob un a dalo ddeg pynt at ymfudo; bydd i'r rhai a gymmerant y benthyg, dalu hyny ol, wrth eu gallu; ac ychwanegir y cyfryw daliadau at y swmiau, yn y Drysorfa Ymfudol: ac felly, galluogir lluoedd rhagllaw i fyned hefyd tuag adref. Mae'r cynllun, fel pob peth arall sy'n perthyn i Formoniaeth, yn garedigol, yn nerthol, ac yn gynnyddol er daioni i'r holl Saint, ac nid oes yma un pleidgarwch i neb mwy na'u gilydd; ond pawb oll i gyfranu, yn wirfoddol, ac yn ol eu gallu; a phawb oll i fwynhau yn gyfartal o'r cysuron annhraethol sydd yn ein haros.

Dichon mai hwn ydyw y tro olaf i mi gael eich cyfarch yn Merthyr: o leiaf, yr wyf yn gobeithio hyny, am fod i mi berthynasau ac anwylion yn fy aros draw. Bendithied Duw ni a nerth i allu myned trwy holl amryw olygfeydd y bywyd hwn, nes ein myned oll i fwynhau cysuron Seion, ynghyd a chysuron di ball y bywyd tragywyddol. Nid wyf yn adwaen nemawr yn Nghymru, wrth eu henwau; ond yr wyf yn mawr lawenhau yn yr hyn a wnaed ynoch, ganddoch, a thrwyddoch, yn yr amser a aeth heibio: yr wyf, hefyd, yn mawr lawenhau yn y gobeithiadau sydd o'n blaen, ac wrth feddwl am yr amser y caf gydgymdeithasu ag Apostolion, prophwydi, ac ereill o weision Duw yn Seion. Yr wyf yn llawenhau, gan eich annog, i bob ffyddlondeb, diwydrwydd, a dyfal barhad, gyda phenderfyniadau cywir, yn y gwaith a'r llafur cariad gogoneddus, ag y sydd yn dwyn cymmaint lles i ddynion, cymmaint dedwyddwch i'r Saint, a chymmaint testunau rhoddi mawl annherfynol a gogoneddus, i'r Hollalluog Dduw, trwy Iesu Grist. Amen.

Canwyd unsain, gan y brawd William Jones, a chydgor, yn ardderchog iawn.

Y Llywydd Jones,—Meddyliwyf fod yma bawb yn teimlo eu hunain yn gysurus a thra dedwydd; a bod yma rai yn dechreu ymholi. "Pa fodd i gadw a dal gafael ar y mwynhâd cysurus hwn?" Fy atteb, ydyw mai trwy wneyd yr hyn a gais yr Arglwydd genym. Mae y Llywydd Richards, yn llawenhau wrth *weled* yr arwyddion dymunol, er na ddeall ef yr iaith a lafarwn; ond yr un yw Duw, i'r Cymry, i'r Saeson, ac i bob ieithoedd a phobloedd ag a alwant arno; mae'r Duw hwnw yn Dduw y Cariad; dysgwn ninnau ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni; a charwn ein gilydd, yn ac o herwydd ein tybygolrwydd iddo ef. Y bobl sydd yn caru, a arferant ddweyd yn dda wrth ereill am eu gilydd; cariad a guddia liaws o bechodau, a charwn ninnau fel y dysgom lafaru yn dda y naill am y llall bob amser. Mor deg yw traed y rhai sydd yn efengylu tangnefedd, ac yn cyhoeddi heddwch! Llafarwn ddaioni, fel y byddo yn dda gan bobl glywed swn ein cerddediad a'n gweled yn dyfod i'w tai. Nid oes genyf fi *amser* i fyned ac amddiffyn fy nghymmeriad; i'w ofal ac i'w gadwraeth anffaeledig Ef y gadawaf hyny.

Y Bugail Thomas Jeremy,—Gan i mi gael y fraint o ufyddhau i'r Efengyl, a mwynhau tystiolaeth o wirionedd y Grefydd hon, difyr ydyw genyf gael dywedyd gair, gyda theimladau diolchgar, am y ddysgeidiaeth a gefais yma heddyw, ar hyd y dydd; y mae yr addysg i mi fel y mêl. Gadawais deulu anwyl, o wraig a phlant, yn Seion; i gyhoeddi yr Efengyl, ac i annog y Saint, yngeiriau Paul, "Meddyliwch am eich blaenoriaid, yn yr Eglwys, ffydd y rhai dylynwch." Mae ffydd y blaenoriaid, yn yr Eglwys hon, fel ffydd y Patriarchiaid; fel ffydd Moses, ar prophwydi; ac fel ffydd yr Apostolion, yn nyddiau Crist; sef, ffydd er iechydwriaeth, ffydd yngweinidogaeth angylion, a ffydd yngwahaniaethol ddoniau yr Ysbryd Glân. Ymdrechwn ddylyn yr un ffydd a hwynt, fel y mwynhäom yr un fath wybodaeth ag a fwynhasant hwy; dylynwn yr un ffydd, fel y derbyniom yr un cyffelyb fendithion, ynghyd a'r un bywyd tragywyddol ag a dderbyniasant hwy.

Pe gwnelai rhyw wr cyfoethog ei ewyllys, a gadael ei holl eiddo i'w berthynasau, ni byddai gobaith i mi, os heb wybod fy

nod yn un o'i berthynasau; nid oes gobaith chwaith, am fwynhâu o'r breintiau sy gan blant Duw, ond i'r rhai a ufyddhant i Efengyl Duw; gan hyny, mynwn gael gwybod ein bod ni yn blant iddo ef, ac yn etifeddion yr addewidion mawr iawn a gwerthfawr, a drysorodd efe i'w blant, yn Nghrist Iesu ein Harglwydd, Amen.

Canwyd gan y côr.

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

## DYDD SADWRN, CHWEFROR 18, 1854.

Newyddion da ag sydd yn peri llawenydd mawr i holl garwyr Duw,—i wir gyfeillion Iesu Grist, yw yr hyn y mae yn fraint i ni ei gyhoeddi drwy ein cyhoeddiad bychan; sef y fod ei deyrnas ef yn myned ar gynnydd—fod ei gyfraith Ef yn rhedeg drwy'r byd mor gyflym ag y mae, ac yn ennill ufyddion iddi ei hun: llawenydd yw genym gyhoeddi ei llwyddiant yn ein gwlad ein hunain; gan ein bod ni yn gwybod fod y Duw hollalluog wrth y llyw yn mhob peth, ein hymddiried disigl fydd ynddo Ef, a thrwyddo Ef yn ein gilydd, fel cydweithwyr Duw. Yr arwyddion egluraf o lwyddiant yr efengyl yw duwioldeb buchedd, a chynnyddiant doethineb a chariad ei phroffeswyr. Testunau newyddion o lawenydd rhodded y Saint i'w gilydd, ac i'w Llywyddion yn barhaus, trwy arddanghosiadau amlycach o gynnyddiant y Duw-dod i'w calonau, profadwy yn eu gweithredoedd. Duw-debyg a gerfier ar bob gweithred o'u heiddo mor amlwg i'r byd, ag y bydd amlygrwydd yr "enw newydd," hwnw, sef "Duw," ar dalcenau ei holl blant yn y dydd a ddaw. Pleser genym ganfod argoelion o hyn yn ohebiaethau ein gohebwyr, wrth law, y rhai y caiff ereill y pleser o'u darllen hefyd, gynted y b'o lle; caffed amynedd ei pherffaith waith fel y cawn ninnau ei pherchenogion yn barhaus.

## Y DIRYWIAD ANGHRISTAIDD.

GAN ROBYN DDU, ERYRI.

RHODDODD Duw, i ddynion amrywiol Oruchwyliaethau, gan addaw "Goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd;" ac o herwydd ei fod yn perchen pob perffeithrwydd, ni ddadguddiodd ef ond un drefn achub pechadur, ac ni chydnabyddodd ef ond *un Eglwys* i gyhoeddi yr unrhyw drefn, yn yr holl amrywiol Oruchwyliaethau.

Gan y ceir, yn ein dydd a'n gwlad, liaws o wrthbleidiau yn arddelwi crefydd, a phob plaid yn haeru mai ei hunan, ac nid arall, sydd Eglwys i Grist, nyni a chwiliwn am yr *Achos* dechreuol o'u hymbleidiaeth, gan osod y cyfreswm canlynol yn sail i'n hymofyniad: sef, "I bob effaith, mae achos: mae effaith a'i hachos, bob amser yr un natur a'u gilydd: ac o ganlyniad, y mae yn rhaid i unoliaeth yr Eglwys, a'i dirywiad ymraniadol, fod wedi tarddu oddiar achosion, mor wahaniaethol y naill oddiwrth llall, ag ydyw y gwahaniaeth sy rhwng yr undeb a'r ymraniad a effeithir ganddynt.

Rhwyddhäwn ein ffordd, trwy gyferbynu Goruchwyliaeth Moses ag eiddo Crist. Yn hanes y naill, ceir fod Duw yn dadguddio ac yn dangos ei gyfrinach i'w weision y prophwydi; fod yr Eglwys mewn undeb, yn cadw y gorchymynion a ddadguddiai yr Arglwydd iddi yn barhaus trwy ei weision, a'i bod yn mwynhau gweinidogaeth angylion, prophwydi, ac amryw swyddogion yr offeiriadaeth santaidd, a bod gwyrthiau yn ei chanlyn.

Yn hanes y llall, ceir i'r Ysbryd Glân lenwi dyscyblion Crist; y derbyniasant eu cennadwri trwy ddadguddiad; fod yr Eglwys yn *un* a chytun, gan gadw pob peth a orchymynodd Iesu Grist eu cadw; a'i bod yn mwynhau gweinidogaeth angylion, prophwydi, apostolion, athrawon, a bugeiliaid; a bod gwyrthiau yn canlyn y rhai oll a gredasant yr Efengyl gan ufyddhau i'w *holl* ordinhadau.

Yn y naill, canfyddir etto i'r bobl ymlygru a lladd gweision Duw; iddynt fyned i gaethiwed, ac y dychwelasant heb ganddynt nag arch y cyfammod, na dim o'i ddodrefn; a'u bod, o ganlyniad, wedi eu hamddifadu o'r dadguddiadau dwyfol; fel, oblegid hyny, yr aethant i dywyllwch mawr, ac yr ymran-

asant i lawer o sectau; megys, Libertiniaid Gaulonitiaid, Herodianiaid, Epicureaid, Stoiciaid, Gnosticiaid, Nicoleaid, Nazarëaid, Zelotiaid, amryw sectau o Phariseaid, Saducëaid, Samariaid, a llawer ereill.

Yn y llall, gwelir etto i'r bobl ymlygru a lladd gweision Duw; ac, o ganlyniad, yr amddifadwyd hwythau o'r dadguddiadau dwyfol; fel, oblegid hyny, yr aethant yn yr un modd a'r Iuddewon gynt, i dywyllwch mawr, ac yr ymranasant i liaws o sectau; yr hyn, yn ol yr Hanes Eglwysig, gan Mosheim, Gahan, ac ereill, a ddechreuodd yn raddol, fel y canlyn:—

*O.C.*

100. mlynedd:—Yr oedd yr holl Apostolion, oddigerth Ioan wedi eu lladd: daeth Ioan o ynys Patmos, yn y fl-98.

200. Taenellwyd dyn claf yn ei wely, am y credent fod bedydd yn angenrheidiol er maddeuant pechodau; eithr wedi ei iachâd, ni dderbynient ef yn aelod Eglwysig, am yr ammheuent nad iawn eu dull o feddyddio trwy daenelliad. Gahan.

300. Dechreuwyd taenellu babanod, y waith gyntaf erioed. Mosheim, Vol 2. t. d. 69. Gahan. 93.

323. Unwyd yr Eglwys wrth y wladwriaeth; gan Gystenyn Fawr.

325. Cynnaliwyd Cymmanfa, a mabwysiadwyd cyfeiliornadau Nice.

570. Diflanodd yr holl ddoniau gwyrthiol o'r Eglwys. Mosheim.

606. Rhoddwyd y titl Pab, y tro cyntaf, i Boniface y trydydd.

608. Cododd Mohammed, a chrefydd yr Alcoran, o ogof Mecca.

900. *Ymranodd* Eglwys Groeg allan o Eglwys Rhufain, a sefydlodd ei hun yn Constantinople, a'r ddwy yn lladd a llosgi a allont o anghydffurfwyr.

1200. *Ymranodd* y Waldensiaid, dan Peter Waldo, masgnachwr o Lyons: a'r Albigeniaid, y dyfethwyd lliaws o honynt yn Piedmont, gan filwyr y Pab Pius. iii.

1483. *Ymranodd* y Lutheriaid, dan Martin Luther.

1523. *Ymranodd* Eglwys Loegr, dan Harri yr wythfed.

1536. *Ymranodd* y Bedyddwyr, dan Simon Menno; cyn

offeiriad Pabaidd, ganedig o Friesland. Buck's Theological Dictionary, t. d. 35.

1600. *Ymranodd* y Presbyteriaid, dan John Knox; dyscybl i Calvin.

1700. *Ymranodd* y Crynwyr, dan George Fox; rheoleiddiwyd hwy gan William Pen, a Barclay.

1729. *Ymranodd* y Wesleaid, dan John Wesley; yr hwn ag ef yn bresbyter yn Eglwys Loegr, a ordeiniodd ddyn o'r enw Thomas Coke yn esgob!

1746. *Ymranodd* y diwygiad o Eglwys Allmaen, dan Michael Schlatter; a chyd rhwng y Trefnyddion Calfinaidd, yr unarddeg ymraniadau Wesleaidd, yr Annibynwyr, yr amryw ymraniadau Presbyteraidd, yr Undodiaid, y Sandimaniaid, yr Ariaid, y Swedenborgiaid, y Sabeliaid, a'r holl ymraniadau rhy lïosog i'w henwi, mae gan y flwyddyn 1854 sectau a'u henw yn lleng.

Mae yr hanesyddiaeth flaenorol yn amlygu, mai cael a derbyn Dadguddiadau oddiwrth Dduw, trwy ei weision, oedd yr achos o'r Undeb a'r bendithion a fwynheid yn yr Eglwys dan y ddwy Oruchwyliaeth; ac mai y llygredd, a barodd lladd y gweision hyny, yw yr achos o'r holl ymraniadau, a gymmerasant le cyn a gwedi dyddiau Crist a'i apostolion. Mae hyn yn ein harwain, gyda gorfodaeth, i benderfyniad pwysig: sef, fel y mae y dadguddiadau dwyfol, a'r undeb perthynol i'r Eglwys, yn achos ac effaith dda; felly, y mae y llygredigaeth a barodd yr amddifadrwydd o'r cyfryw ddadguddiadau, ynghyd a'r ymraniadau gwrthbleidiol a ddylynodd hyny, yn achos ac effaith ddrwg: a chan na all achos drwg ddwyn effaith dda, mwy nag y dichon i achos da ddwyn effaith ddrwg, nis gall chwaith yr ymraniadau sectyddol, mwy na'r llygredd a'u hachosodd, fod yn eiddo Crist.

*(I'w barhau.)*

---

## CAIS AT DDEHONGLIAD Y DDAMMEG,

*Yr hon a ymddangosodd yn rhifyn 3ydd o* UDGORN SEION.

SYR,—Wedi gweled Dammeg y Boneddwr a'i Fab yn yr UDGORN, a'r gofyniadau ar ei hol, cynnygiaf yn fyr fy meddylddrych am dani.

Y gofyniad cyntaf,—Pwy yw y personau cyfeiriedig, sef y Tad, y Mab, a'r etifedd?

*Ateb*: Y Tad yw Duw y Nefoedd; sef y byd wedi ei Nefoleiddio, ei berffeithio, a'i ogoneddu. Y Mab yw Adda, a'r *Etifedd* yw Iesu Grist.

Yr ail ofyniad,—Y Palas a'r gwyddfodolion?

*Ateb:* Y Palas yw Cartrefle y Mab, neu Adda yn y byd nefol. Y Gwyddfodolion yw hiliogaeth Adda, sef yr ysbrydion cenedledig, y rhai oeddynt braidd wedi llenwi ei etifeddiaeth yn y byd nefol.

Y trydydd gofyniad,—sef, " Ai Priodol," &c?

*Ateb:* Ië, priodol yn ol fel y dywed y Ddammeg am yr adduned a wnaed, a boddlonodd, nid yn unig y Mab i'w trosglwyddo i ofal ei Dad am amser, ond hefyd cydsyniasant oll fel teulu mawr, a chanasant mewn llawenydd am y cynnygiad; nid yn unig hyny, ond hefyd i fyned yn eiddo i'w Taid, yn gymmaint ag os byddai i'w Tad eu hangofio, a throseddu ammodau y freintlen, yr hyn yn sicr a fu; ond er hyn oll, trwy gyfryngoliaeth yr Etifedd, adferir hwy oll i'w Tad a'i cenedlodd.

Y gofyniad olaf,—Y " Wlad bell."?

*Ateb*: Y wlad bell yw y Ddaear hon. Y modd yr effeithiodd y ffrwythau oedd, wedi iddynt breswylio yn y "wlad bell" (y Ddaear) am ysbaid o amser, yr oedd yn fath gyfnewidiad, hyd nes yr oeddynt yn cael eu troi yn raddol yn ddaearol, yr hyn oedd yn diswyddo y côf am bethau a fu, ac a oedd i fod, &c. Ac hefyd, trwy fwyta o'r ffrwyth gwaharddedig.

*Dyffryn Conwy.* WILLIAM DAVIES, IEU.

[Cyhoeddasom y dehongliad blaenorol o blith lliaws o ddehongliadau a gynnygiwyd; yn un peth, o herwydd ei fyrdra i'n tudalenau bychain. Os na foddloner, anfoner ei wallau a'i welliant.—Gwel *Perl o Fawr Bris*, tud. 2.—GOL.]

---

## DAMMEG ARALL.

GAN fod ein gohebwyr mor barod i ddysgu egwyddorion pwysig trwy ddammegion, porthwn hwynt â'r hyn a wna iddynt fawr les ei ddeall a'i ddehongli, sef:—

### SIARAD PLANT.

"O Deio, wyddost ti beth! tyr'd yma ar frys, rhed," ebe

crotyn bach yn ei bais, dan redeg heibio ein penelin un boreu, a'i damaid yn ei law, "mi fetia i ddimeu â ti, nad elli di ddim gesio pwy sydd wedi dod i'n tŷ ni; yn awr dywed os gelli." "Gallaf mi wrantaf," ebe Deio, canys yr oedd efe eisoes wedi clywed y newydd. "Wel, dyma'r ddimeu os dywedi," ebe Moses bach, yr hwn oedd newydd ei chael am fyned allan i chwarae. "Babi bach sydd yna," ebe Deio, "dyro i mi y ddimeu yn awr." Deallid wrth wynebpryd Moses, fod rhyfel yn ei feddwl, pa un ai colli ei ddimeu ai colli ei eirwiredd a wnai, eithr dewisodd y blaenaf, gan ddweyd, "Wel Deio, gan i ti ennill y ddimeu, betia etto." "Gwnaf," ebe Deio yn eofn, "beth nesaf." "Mi fetia ni elli ddweyd pa un ai bachgen ai geneth yw." "Geneth, at y fenter," ebe Deio yn wrol. "Nage yn wir, bachgen ydi o, dyro fy nimeu yn ol," ebe Moses. "Wel Deio, gan i ti fod mor onest, mi fetia i â ti etto." "Beth a feti nesa' Mo's." "Wel, mi fetia na wyddost ti ddim o ba le y daeth y babi; yn awr Deio, dyna bwsl i ti." "O gwn o'r goreu, onid dy fam a'i ganodd yr un dwl, o ble arall y doi ef?" "Nage wir, Deio, dyna'th di wedi cholli hi etto, o Lundain y daeth e ar y *goach* neithiwr, mi glywais i mam yn dweyd." "Taw, taw, dweyd rhywbeth yr oedd dy fam, am na ewyllysiai i ti ddeall yn awr o ba le y daeth." "Mae'n ddigon gwir," ebe Moses yn frawychus, am i Deio ammeu geirwiredd ei fam. "Ië, o Lundain y daeth e hefyd, mi glywes y nhad yn dweyd hefyd; ac mi weles i y doctor yn y tŷ yr hwn a'i dygodd i ni." "Paid taeru Mo's, stori plentyn yw hona, gan nad wyt ti ddigon hen i ddeall o ble y daeth." "Beth, wyt ti yn meddwl y buasai fy nhad a mam yn dweyd anwiredd wrtha i, dywed? na, dywedant well gwir nâ thydi mi wn." Daeth Deio a'i holl resymau dros ei bwnc fel cyfreithiwr, er mawr ddifyrwch ac argyhoeddiad y gwrandawwyr oll, ond Moses bach, yr hwn a fynai gredu ei dad a'i fam, yn hytrach nâ'r holl fyd i'r gwrthwyneb; ac ymaith ag ef dan lefain yn frawychus, o herwydd i neb ei ammeu ef.

Pwy a ddehongla y Ddammeg? Cynnwysa gyfnod hynod yn hanes pob dyn byw, a'r man y daeth o hono! Ai Deio ynte Moses a ennillodd y pwnc, a pheth yw yr egwyddor a ddysga?

---

## NEWYDDION EGLWYSIG CARTREFOL.

DWYR. MORGANWG.—Newyddion cysurol—arwyddion bywiocaol, a glywir ac a welir yn mhob cwr o'r Gynnadledd hon o hyd, a phawb yn penderfynu, ar a wyddom, i fyw yn ffyddlonach nag erioed.

SIR ABERTEIFI.—Cynnaliwyd Cymmanfa y Gynnadledd hon yn Aberystwyth, Sul y 5med o'r mis hwn; ymgynnullodd y Saint cylchynol, a llawer o'r byd yn brydlon a threfnus;—gwrandawiad astud drwy yr holl oedfäon;—Ysbryd Duw yn nerthol ar ei bobl, yn llawenhau eu calonau ac yn llanw geneuau ei weision â doethineb;—argoelion gobeithiol am liosogiad a chynnyddiant sêl a duwioldeb. Cyfanrif, 105; dau wedi eu bedyddio, a'r doniau ysbrydol yn nerthol yn y gwahanol gangenau. Ymfudodd amryw o'r Gynnadledd hon eleni, a chyrhaeddasant oll yn iach ar fwrdd y llong *Golconda*, tra yr oedd hi yn yr afon, a hwyliasant yn llwyddiannus gyda y lleill o'r Cymry.

BRYCHEINIOG.—Tystiai swyddwyr y Gynnadledd hon eu bod hwy a'r holl Saint mewn gwell teimladau nag y buont er's blynyddau yn y mwynhâd o'u cariad cyntaf;—y brodyr yn ddiwyd a phenderfynol yn dosparthu traethodau i'r byd; a hysbysa y Llywydd ni, nad oes neb yn dewis bod yn segur, o herwydd mai yr hyn a *adeiladant* o deyrnas Dduw a *fwynhant* o honi. Rhai wedi cael eu bedyddio yn ddiweddar, a galwad i fedyddio amryw ereill; mae amryw drefydd yn galw am bregethu heb ddigon o bregethwyr i'w diwallu. Arglwydd y winllan a anfono lawer etto o weision ffyddlon i'w winllan, fel y casgler y gwenith i'w ysgubor, cyn dyfod y dyddiau blin.

---

## EFFAITH PROFI SANT.

POENUS iawn yw cwpan sur,—a miniog
Ydyw mynych ddolur:
Ond os poen,—daw i was pur,
O ddygasedd ei gysur.

Mae AUR i'w drîn am hir dro,—YN y pair,
Yn ddarn poeth, nes toddo:—
I'w droi'n frwd, rho'ir *drain* y fro
*Dàn* y pair,—a DUW'N puro.

Ysgwrir prês ac arian—ychydig,
Gyda *chadach* bychan:—
Wedi 'sgwrio,—dasg eirian,—
Ceir pwy deifl y *carp* i dân.

Möab hynod, i'm poeni,—er iechyd,
Sydd yn Grochan golchi;
Hoff rai IOR, yn ei phair hi,
A fydd lân, i'w fyddloni.

ROBYN DDU, ERYRI.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

GWIRIONEDD.—Tŵr caerog yw gwirionedd. Er ergydio o holl fagnelau y fall arno, ni syflir maen o hono. Er chwythu o holl gyrn hyrddod saith tragywyddolfyd o'i amgylch,—ac er troi y moroedd yn wlybwr du, yr wybren yn bapyr ysgrifenu, holl laswellt y ddaear yn blyf, a'i bobl i gyd yn eu gyru i gam-ddarlunio GWIRIONEDD; etto saif mynwes ei feddiannydd mor dawel â môr gwydr tragywyddolfyd, heb chwâ o'u pla yn crychu ei wyneb siriol.

OFN.—Aden wrth sawdl yr euog haerllug, i ffoi rhag ei ddal; a hoel trwy draed yr euog brawychus, yn ei luddias rhag ffoi.

CYNNYDD Y SAINT.

O ogoniant ac awenydd,—i gân
Ogoniant tragywydd,
Mewn gogoniant, pob SANT sydd,
Trwy ogoniant ar gynnydd. ROBYN DDU.

---

DERBYNIADAU O CHWEF. 9 HYD CHWEF. 14.—Dwyr. Morganwg, £1 10s.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14 CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 8.] CHWEFROR 25, 1854. [CYF. VII.

## Y DUW A ADDOLIR!—PWY YW?

[Parhad o dud. 106.]

AMLWG yw weithan ryngu bodd y Duwiau tragywyddol, ar fod dynion wedi eu cynnysgaeddu a galluoedd cyfaddas i gynnyddiant hyd anfeidroldeb—nad llai dyben oedd ganddynt yngreadigaeth dynion na'u gwneyd yn Dduwiau, i fod yn ogyfuwch a'u hunain yn ngyflawnder y Duwdod; yn nesaf, ceisiwn brofi, PA FODD Y GWNEIR DYNION YN DDUWIAU! Rhoed rhydd ewyllys i bob dyn, i bob creadur, ac i bob sylwedd bywydol; eu hufydd-dod gwirfoddol i'r iawn gyfarwyddiadau a roddir iddynt, yn unig a duedda i berffeithio a dedwyddoli y naill a'r llall a'r oll o bob peth gweledig ac anweledig, drwy holl greadigaethau y Duw a lywydda yr oll. Gosododd eu deddfau priodol i'r haul, y lloer, a'r planedau; i'r môr a'i bysg, i'r awyr a'i ehediaid, y ddaear ai hymlysgiaid, ac i ddyn hefyd: amrywia deddfau yr oll yn gyferbyniol i'w galluoedd, a'u deall i'w cadw. Perffeithiad yr oll, neu gael mwy o'r Duwdod ynddynt yw y dyben; a neshâd at Dduw fydd y canlyniad o ufydd-dod pob un, yn mhob cylch; megys, o'r ochr arall, pellhâd oddiwrth Dduw, sef bod llai o briodoliaethau y Duwdod ynddynt, fydd y canlyniad o bob anufydd-dod. O barthed i holl hîl Adda, dywedir "nad oes enw arall wedi ei roddi yn mhlith dynion, trwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio." Ufydd-dod i'w orchymynion Ef yn mhob peth, a ddyga ei ufyddion yn feddiannol ar ei holl

gyflawnder ef, megys ag y cyflawnwyd yntau â holl gyflawnder ei Dad, trwy ei ufydd-dod perffaith i'w holl orchymynion Ef. Hyd yma, eglur yw y ffordd i ddod yn Duwiau; ond y mae gofyniad pwysig yn dyfod i'r meddwl yn awr; sef, beth yw y gorchymynion a'r dyledswyddau, arbenig, a pha fodd y deallir hwynt? Atebwn fod Duw wedi gwneyd hyn yn eglur yn mhob cenadwr a afonodd i'r byd. Dysgodd ei *weision* ac yna anfonodd hwynt i *ddysgu* ereill o tan y goruchwyliaethau blaenorol; ac yn nghyflawnder yr amser, anfonodd ei Fab i hysbysu hyn; dysgodd yntau yr un pethau ag a glywodd gan ei Dad, i'w frodyr a'i chwiorydd ieuengach; o'u plith cymhwysodd rai i ddysgu ereill, fel, trwy holl ymddygiadau Duw, gweler, mai dyben y naill Dduw personol yw ymddarostwng i ddysgu ereill, pa fodd i gyrhaedd ei wybodaeth ef, tra y dysga yntau gan ei ddoethach; ac felly o hyd nes y cyflawnir y naill ar ol y llall, trwy eu hufydd-dod i'w gilydd, â holl gyflawnder Duw; a chyfrifir pob ufydd-dod iddynt yn ufydd-dod i'r "Unig Ddoeth Dduw," a phob ufydd-dod a gyfrifir iddynt yn gyfiawnder; a mwynhant fwy o Ysbryd Duw, i'w galluogi i ufyddhau i bethau mwy. Geilw Paul y cyfryngau neu y personau hyn dan wahanol enwau, yr hyn a arwydda yn unig y gwahanol gylchoedd y troant ynddynt, ond mai yr un Ysbryd sydd ganddynt oll, ac mai yr un dyben sydd mewn golwg, sef dwyn yr oll i "undeb y ffydd." Cyn y gellir dyfod yn Dduwiau, gwelir mai anhebgorol eu bod hwy oll yn credu yr un pethau, yn cydsynied yn mhob peth; onide, byddai perygl o anghydfod, neu fod y naill drwy gamsyniad yn dadwneyd gwaith, neu yn croesi y llall. Er hollol ddedwyddwch, anhebgorol yw hollol gydweithrediad, yr hyn ni ellir fod oddieithr, fod hollwybodaeth gan bob un Mor werthfawr yw yr holl wahanol swyddau eglwsyig ynte—a goruchel eu hamcanion! Eglurir hyn yn mhellach yn Ephesiaid iv, 10, 11, 12, 13—"Yr hwn a ddisgynodd, yw yr hwn hefyd a esgynodd goruwch yr holl nefoedd fel y cyflawnai bob peth. Ac efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon; i berffefthio y Saint, i waith y weinidogaeth, i adeilad corff Crist: hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist:" Mae y ffaith o ddwyfol osodiad y swyddau

uchod i *berffeithio* y Saint, yn profi eu bod yn anhebgorol. Gan mai dyben Crist yn gosod y swyddau hyn i ddysgu ei blant oedd, fel y cyrhaeddont oll, ië, y gwanaf o honynt, rywbryd i wybod pob peth a wyddai Efe, pa fodd y dysgwylir cyrhaedd yr amcan gogoneddus hwnw, heb ei arweiniad Ef drwy y cyffelyb gyfryngau yn awr? Na ddealler ni i fod yn awgrymu mai y *personau* hyn sydd yn dwyn eu brodyr, i wybodaeth Mab Duw, ond yn unig mai cyfryngau ydynt hwy yn ei law Ef; yr offeiriadaeth—y ddwyfol alwad, addasiad a danfoniad a gawsant hwy ganddo Ef i ddysgu i ereill yr hyn a ddysga Efe drwy ei Ysbryd—ei angylion,—ei Hunan, ac amryw ffyrdd ereill, yw yr effeithiolaf er cynnyddiant; yr hyn a ddangosa yr anghenrheidrwydd sydd am ddadguddiadau oddiwrtho ef hyd oni chyrhaedda y lleiaf hollwybodaeth. Megys ag y mae perffeithiad yr *aelodau* yn dibynu ar eu hufydd-dod i ddysgeidiaeth Duw iddynt drwy y swyddau iselaf, y mae perffeithiad pob *swyddog* yn dibynu ar ei ufydd-dod ef i'w *uwch swyddog* yntau; ac felly, hyd yr uchaf daearol yn yr Eglwys, a hwnw i gynnyddu drwy ei gyssylltiad â "Phen yr Eglwys," yr hwn sydd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwch leoedd, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd. O ryfedd a mawr amryw ddoethineb Duw yn trefnu ffordd anffaeledig i'r aelod gwanaf a ufyddha i Dduw drwy ddysgeidiaeth, pe hyd y nod y swyddog distadlaf o'i eiddo i gyrhaedd holl gyflawnder ei Dad nefol, a'i "Frawd hynaf!" Pwy na orfoledda yn y fath ryfedd ddoethineb, y fath drefnuswydd? Pwy mor anystyriol o'i leshâd ei hun, ar na ymdrecha â'i holl alluoedd i ufyddhau i bob gair a ddaw o enau yr Arglwydd drwy ei weision, gan fod mor amlwg mai hunan les, yw y prif amcan yn mhob peth! Nid ufyddhau i ddynion yw hyn; ond ufyddhau i Dduw yw ufydd-dod iddo drwy bob un o'i weision, megys yr ufyddheir iddo *Ef* drwy ufyddhau i orchymynion *Iesu Grist.* Ac nid yn unig ufyddhau i'r Tad a'r Mab yw ufydd-dod i'r offeiriadaeth, ond hefyd ufydddod i, a rhyngu bodd yr holl Dduwiau dirifedi ag sydd yn un ynddynt hwy.

Amlwg yw, ynte, nad oes wahaniaeth pwy yw y person neu y personau a'n dysga neu a lywydda arnom yn yr Arglwydd, tra mai Duw a'u gosododd yn y cylch hwnw; ein perffeithiad ni yw y dyben a'r defnyddioldeb o honynt. Nid oes neb a

wrthoda Iesu Grist i fod yn Iachawdwr iddo *o herwydd* nad oedd ganddo ef lais neu ddewisiad yn ei osodiad; nid anheilwng o fod yn Dduw i ni yw ei Dad Ef, *o herwydd* nad nyni a'i gosododd Ef yn y cylch uchel hwnw; ac nid mwy rhesymol na hyny a fyddai gwrthod un o'i weision Ef, mewn unrhyw gylch, o herwydd mai Efe, ac nid nyni a'i gosododd Ef yno. Nid gwerin-lywodraeth yw llywodraeth Duw, ac nid llywodraeth y werin a wna y werin byth yn Dduwiau. Nid "llais y bobl yw llais Duw," yn ol yr hen arwydd-air Rhufeinig, ond hollol groes;—llais Duw a ddylai fod llais y bobl, canys ufydd-dod i'w lais Ef a'n gwna yn ddoeth i iachawdwriaeth.

Mynych y gelwir y swyddwyr a osoda Duw yn ei eglwys yn "Dduwiau," tra yn y cnawd, a hyny o herwydd y Duwdod sydd ynddynt, a'r cyssylltiad o ddwyfoli y Saint. Gosododd Duw Moses yn Dduw i Pharaoh. Sylwer, Duw a'i *gosododd*, er nad oedd efe wedi cyrhaedd cyflawnder y Duwdod ei hunan. Pe ufyddhasai Pharaoh i holl orchymynion Duw drwy Moses, daethai yn Dduw ei hunan ryw bryd. Dysgir ni gan Grist yn Ioan x, 34, 35,—"Yr Iesu a atebodd iddynt, Onid yw yn ysgrifenedig yn eich cyfraith chwi, Mi a ddywedais, Duwiau ydych? Os galwodd efe hwy yn dduwiau, at y rhai y daeth gair Duw, a'r ysgrythyr, nis gellir ei thori." "Os GALWODD EFE," sylwer! ganddo Ef yr oedd yr hawl i'w *galw* fel y mynai, naill ai yn apostolion, prophwydi, bugeiliaid, ai *Duwiau*, ynte beth arall. Ein pwnc yw, eglur bellach, mai trwy ufydd-dod i'r Duw-*dod* a fydd yn eu gilydd, y cyflawnir y naill â chyflawnder gwybodaeth y llall, a hwnw gan ei Dduw yntau, ac yn y blaen, hyd oni ddeuant "oll yn un" yn y Duwdod.

Mae gan bob un o'r bodau dwyfol ei waith ei hun i'w wneuthur, megys creu neu reoleiddio byd yn breswylfod i'r rhai a genedlodd yn yr ysbryd, fel y caent gyrff daearol fel a fu ganddo ef,—trefnu ffordd i iachawdwriaeth i'r oll a ufyddhant iddo, fel y caffent adgyfodiad mewn cyrff anllygredig,—eistedd mewn barn ar, a chospi yr anufyddion, a phuro neu berffeithio y ddaear halogedig oddiwrth effeithiau pob camwedd, a'i gwneyd yn "newydd," yn nefol ac anghyfnewidiol, fel y byddai yn addas i'w blant anllygredig i breswylio arni gydag ef. Ar y Tad y dibyna hyn oll, ac heb hyn ni ddichon iddo ddwyn meibion lawer i ogoniant;" mwy nag y byddai tad naturiol yn cyf-

lawni ei ddyledswyddau at ei blant, hyd nes ar ol eu cenedlu, y magai, y dysgai, ac y gosodai efe hwynt mewn sefyllfa yn y byd i gynnal eu hunain, i eppilio eu rhywiogaeth, fel y gallent ymddwyn atynt hwythau yn yr un modd. Y tad yw yr oll i'r plant, arno ef y dysgwyliant am gynnaliaeth, ac am gynghorion, ac efe a'u barna ac a'i cerydda pan y teilyngant hyny. Nid yw naturiaeth byth yn terfynu amser rhyddhad mab oddiwrth ei gyfrifoldeb i'w dad; cyfreithiau dynol sydd yn dweyd fod y mab yn rhydd o gyfrifoldeb i'w dad, pan yn un ar hugain oed, a hyny o herwydd fod cyfraith y wlad yn ei honi yn ddeiliad o honi hi y pryd hyny; eithr pe ei dad a luniasai y cyfreithiau hyny, a phe byddai ganddo deyrnas ei hunan, a byw byth, a neb yn ddeiliaid o honi ond ei blant cenedledig, yna buasent hyd byth o dan ei awdurdod ef yn mhob ystyriaeth. Efe a fuasai eu brenin, eu cynnaliwr, eu deddfroddwr, eu patriarch, ac mewn gair, efe a fuasai eu Duw. Ni wybuasent un arall goruwch iddo ef yn y berthynas hon, er y gallasai ereill lawer fodoli, etto, â'u tad yn unig y buasai eu holl gyssylltiadau hwy. Fel hyn y dysga ymddygiadau y patriarchiaid ni, a'u cenedlaethau ar eu hol; —fel hyn y dysgodd holl iaith ac esiamplau Iesu Grist ni.—" Dy ewyllys di O Dad a wneler," oedd awyddfryd ei galon o hyd. Nid yw sefydliadau Duw ar y ddaear ond patrwm o bethau nefol.

*(I'w barhau.)*

---

## CYMMANFA MERTHYR.

### CRYNODEB O'R HYN A WNAED AC A DDYWEDWYD YN Y GYMMANFA UCHOD.

[Parhad o dud. 109.]

Y Bugail Daniel Daniels,—Cysurus ydwyf, wedi y daith bell o Seion, yn herwydd gweled cymmaint nifer o'm hanwyl gydgenedl, yn penderfynu myned yn mlaen mewn gwaith mor dda, mor bur, ac mor santaidd. Mawr ydyw fy llawenydd am fod yr offeiriadaeth wedi ei rhoddi, i drigolion daear, yn y Dyddiau Diweddaf hyn, ac am ei mwynheir hi, yn mysg cenedl y Cymmry, yngwlad fy ngenedigaeth. Lloni yr ydwyf yn herwydd y llawer a fedyddiwyd i'r Eglwys, yn y dyddiau a aethant heibio; mae newyddion da yn awr, ac hyderaf y ceir newyddion gwell etto, erbyn y Gymmanfa nesaf. Mae mawr awydd

bedyddio i'w ganfod yn yr holl wahanol swyddogion, a'r Saint, yn mhob cangen o'r Eglwys, trwy y wlad; a'r cyfan a'u bryd ar fyned i Seion. Dyma dro rhai i fyned yno wedi dyfod, a daw ein tro ni oll cyn y byddo hir. Cydweithwyr ydym ni yma, i'r rhai sydd yn Seion. Buom yno, arosais beth amser yno; gadawais fy anwyl deulu yno i'r dyben o fy nyfod yma i annog fy nghydgenedl i fyned yno, a gallaf dystio mai lle da, mai y lle goreu a wn am dano dan haul ydyw Seion, ac nad oes ei fath ar y ddaear; a chan i ni, a fu yno, gael y fath hyfrydwch pan yno, rhaid ydyw, fod ein hawydd ni, am fyned yno etto, yn llawer iawn cryfach, nag y dichon i'ch awydd chwi fod, y rhai na fuoch yno hyd yn hyn; a ni a gadwn ein hawydd a'n penderfyniadau daionus. Hiraethu am weled y gwaith wedi eu gwyblhau yr ydym; a merwino yr ydym hefyd, fod llawer o'n cyd-genedl ac ereill yn parhau mewn anghrediniaeth, yn aros mewn anufydd-dod, ac yn agored i'r gawod drom sydd ar ddyfod, a hwythau heb ddihangfa i'w cuddio, tra yn aros mewn anghrediniaeth. Daliwn at y gwaith o rybuddio pob dyn; dymunaf ar fod bendith Duw ar bob cynnadledd, ar bob swyddog, ac ar bob aelod o fewn i'r Eglwys hon; am gweddi ffyddiog sydd am i lwyddiant ganlyn ein hymdrechiadau, i ddwyn y gwaith mawr yn mlaen, gwedi yr elom bawb i'w gwahanol leoedd o'r Gymmanfa hon; fel y tyner i lawr bob pechod, gormes, tra awdurdod a thrais, ac y cyfoder i fyny bob rhinwedd, rhyddid, haelfrydedd, a duwioldeb llawn cysuron, yn mhlith holl blant dynion, yn mhob man a lle, ar a allom fyned iddo. Tangnefedd Duw a fyddo arnoch oll, o hyn allan byth trwy Iesu Grist. Amen.

Y Llywydd Jones,—Tybiwyf eich bod oll yn teimlo awydd am fyned i Seion; ac am hyny, dylem, oll ofalu am gael calon bur, am wneyd yn gyfiawn a phawb, ac a holl greaduriaid Duw; canys cyfiawnder a weithredir yn Seion, a chyfiawnder sydd yn cartrefu yno. Dylem ofalu gael ysbryd tangnefeddus, o herwydd y cartrefa heddwch a thangnefedd yn Seion. Cariad hefyd at Dduw a'i bobl, sydd angenrheidiol i fyned yno, oblegid cariad sy'n llywyddu yn Seion. Nis gellir gobeithio am deimladau gwell yn Seion nag yma, oddigerth i ni ymwroli at feithrin pob teimladau da yn awr a phob amser. Ni wna myned yn mhell, ddyn balch yn ostyngedig, na'r dyn

lladronllyd yn onest, heb fod ynddo blanniad egwyddorion da yn y lle yr aroso neu yr elo iddo. Nid oes lles o newid y cartrefle, os heb newid anian y dyn; gan hyny, cyflawnwn ein holl ddyledswyddau yma, a chawn gysur yn Seion; gofalwn am gael ein cydwybodau yn ddirwystr yma, fel na byddo lle i ni ofidio wedi ein myned oddi yma, na buasem yn fwy diwyd i fyw yn dduwiol, i annog ereill i fyw felly, ac i dystiolaethu wrth ereill am y gwirionedd, tra yr oeddym yma gyda hwynt.

Bendith a fyddo ar yr oll a ddywedyd yn y Gymmanfa hon; a bendith a fyddo ar yr oll a ddaeth yma, fel ein galluoger oll i gyflawni ein holl ddyledswyddau, trwy Iesu Grist. Amen.

Nos Lun, Rhagfyr 26, Cynnaliwyd cyngor am 11 o'r gloch; ac yn yr hwyr cariad wledd, canwyd; a gweddiodd yr Henuriad John Evans, Aberteifi.

Yr Henuriad Robert Evans, Abertawy, a etholwyd i lywyddu y cyfarfod; a sylwodd mai angenrheidiol, yn gyfanol a'r weddi flaenorol, ydyw cael cydymdeimlad. a gwneyd pob peth oll, o dan ddylanwad Ysbryd Duw; mai angenrheidiol yw bwyta ac yfed, ynghyd a chanu ac areithio a'r Ysbryd ac a'r deall: ac y dylai, hyd y nod, Digrifwch fod felly; "Ar dy ddeheulaw y mae digonolrwydd llawenydd a digrifwch yn dragywydd."

Canwyd, yn foddhäol hynod gan y brodyr John Richards, ac Evan Richards.

Annerchwyd y cyfarfod yn fywiog, gan yr Hennriad T. C. Martill; a sylwodd, mai fel y dychymyga un ei fod yn gweled pethau yn y tywyll ag a wna iddo ryfeddu at ei gamolygiadau wedi y toro'r wawr, y mae dynion yn dychrynu rhag egwyddorion da, pan eu gwelent gyntaf, eithr addeuant i'w caru, gan ryfeddu at eu ffolineb eu hunain, wedi y dealler hwy ganddynt.

Y brodyr David Williams, Sir Benfro, a Daniel Thomas, Rhumey, a ganasant yn Saesneg—a'r brawd William Roberts, Aberdare, yn Gymraeg; ac annerchwyd y cyfarfod yn Saesneg gan yr Henuriad, Sykes, Sir Benfro, yna, canwyd gan y brawd John Richards.

Gyda hyn, yr oedd lliaws o frodyr yn prysur gludo bara melus i'r dyrfa fawr; a digonedd o ddwfr glân gloyw at ddisychedu y rhai oll a ewyllysient yfed; a'r olwg ar y gynnulleidfa ydoedd hyfryd i'w rhyfeddu; a chanwyd yn gampus gan y côr.

Annerchodd yr Henuriad Robert Parry, Robyn Ddu, Eryri, y dyrfa, gan sylwi, y dichon i ddynion da weled drygau lawer yn dinystrio y bobl; ond mai yr Arglwydd sydd yn galw, cymhwyso, a dangos ei weision appwyntiedig at darfu y drygau; ac mai tebyg yw yn awr, i'r amser y dywedodd un o'r prophwydi, "Mi a *welais* bedwar corn;—a'r Arglwydd a *ddanghosodd* i mi bedwar saer hefyd." Mai fel yr oedd yr un faint nifer y seiri a nifer y cyrn y mae yn awr i bob swyddog, yn Eglwys Iesu Grist, ei waith priodol ei hun. Crybwyllodd y perygyl o ymyraeth tuag at geisio newid trefn Duw; yr enbydrwydd o beidio gwrando ar ei weision, a'r bendithion ag ydynt yn sicr i'w cael, ac i'w mwynhau, i'r rhai hyny oll ar a ufyddhäont i'r Efengyl, gan gadw yr hyn oll a orchymynodd Iesu Grist, i'w ddysgyblion eu cadw.

Rhoddodd y brawd French, Newport, ychydig annerchiad a chân, yn Saesneg; ac ar ei ol, annerchodd yr Hennriad Dewi Elfed Jones, y dyrfa liosog, yn sylweddol, difyrus ac addysgiadol. A gwedi annerchiad bywiog gan y Llywydd Richards, y Llywydd Jones, a Llywydd y cyfarfod, ynghydag adlais cân gan y côr pereiddiol, dybenwyd y cyfarfod, a'r Gymmanfa fawr hon, gyda gweddi daer tros y llywyddion newydd, tros yr Henuriaid, tros yr holl amryw lywyddion a Saint, gan y Llywydd W. S. Phillips; a diammheuol mai iaith pob gonest ei galon ag oedd yno, oedd "*Da oedd i mi fod yno.*"

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, CHWEFROR 25, 1854.

Doniau Ysbrydol.—Nad beth a ddywed y byd a'i holl ddoethineb, y mae yn ffaith ddwyfol brofedig, mai braint y Saint yw mwynhau gweledigaethau, breuddwydion, dadguddiadau, tafodiaeth, cyfieithiad, ynghyd a phrophwydoliaeth; mai cyfryngau ydynt i drosglwyddo gwybodaeth a dealltwriaeth o'r nef, er perffeithio y Saint yn yr holl rasusau anhebgorol er eu

dedwyddwch presennol, a chynnyddiant ar ddelw eu Duw. Pwy erioed a ddarllenodd addewidion Duw i'w blant yn yr ysgrythyrau, heb hiraethu am fwynhad o'r cyffelyb ei hun?—heb dristâu pan y dywedai esbonwyr a phregethwyr wrtho, fod y cyfryw wedi darfod gyda'r apostolion, ac nad oes mwyach eu heisieu? Pwy na ocheneidiai yn ei galon, "O! na fuaswn byw pan yr oedd gan Dduw eglwys ar y ddaear yn mwynhau ei feddwl a'i ewyllys, ei gysur a'i gynghor, yngwyneb pob amgylchiad; pan yr arllwysid yr Ysbryd Glan ar y Saint, nes y gorfoleddent yn eu breintiau, ac y pêr lewygent gan ddysclaerdeb gogoniant iachawdwriaeth yr Arglwydd ar eu rhan mewn gweledigaethau, pan yn cystadlu y mynedol, presennol, â'r dyfodol?" Pwy yw y dedwyddolion a iawn brisiant y rhagorfreintiau hyny, wedi eu hadferyd i blith dynion? Nid neb ag ydynt yn eu dibrisio a'u gwrthod. Nid neb ychwaith o hyd y nod y Saint ar nad ydynt yn gweddio yn daer am danynt; nid yn unig mewn geiriau, ond hefyd drwy bob diwydrwydd i *ymfucheddu* wrth fodd eu Cyfranwr.

Pwy a hiraetha am ollyngiad o'i gaethiwed daearol, ac a chwennycha wawrio o'r cyfnod dedwydd, pan ei enaid hiraethog a eheda i'r trigfanau tragywyddol i blith myrddiwn o angylion, ac i wyddfod ei Bryniawdwr bendigaid, ar na iawn brisia y gwahanol ffyrdd hyn o gymdeithasu â'i drigolion dedwyddol,—i gael adnabyddiaeth gywirach o'i ogoniant, ac i barotoi erbyn ei ddyfodiad arosol yno? Hyn oedd testun ymffrost a gorfoledd yr hollbrophwydi, apostolion, a'r Saint cyntefig; ac ni ddylai neb Saint a ddysgwyliant gyd-fwynhau yr un gogoniant a hwythau yn yr amser dyfodol, fod ronyn llai eu hawydd a'u hymroad i'w cael yn awr. Gwir fod y doniau cyfeiriedig yn dwyn bendithion goruwch i'r hyn yr ymgeisia dynion am danynt yn gyffredin: etto, nid doeth boddloni ar lai nâ chyflawniad o addewidion pendant Duw i ni. Mae yn wir hefyd fod y gelyn yn dwyn ei demtasiynau yn gyferbyniol i fawredd y bendithion a fwynheir; a thrwy hyny, a dyben dwbl ganddo, sef, nid yn unig i'n hamddifadu ni, ond i ddiraddio y fendith drwy gam-arferiad o honi, neu trwy ffaeleddau y cyfrwng a'i mwynhâ; er hyny oll, yn lle llaesu dwylaw, dylid dyblu y diwydrwydd i orchfygu a mwynhau y doniau fwy fwy, er ei waethaf ef.

Hyderwn y creda y Saint ein bod o ddifrif, ac yn benderfynol i'w hannog i fwynhau mêr a brasder eu crefydd cyn hir, drwy ein mynych goffâu hwynt o honynt; o leiaf, credant hyny cyn y peidiwn. Dywenydd mawr genym yw hysbysu, fod yr argoelion daionus a geir eisoes mewn llawer man, yn profi nad ofer ein llafur yn hyn, yn yr Arglwydd. Mai trwy bob dyfal barhau, neu drwy barhau yn ddyfal yn *mhob peth*, y llwyddir i hollol fuddygoliaeth, yw y gredo a ddysgir i ni. Y mae genym un tyst o'r newydd wrth law, i brofi hyny, yr hwn sydd yn henuriad ffyddlon, ac wedi parhau felly am wyth mlynedd, gan ddyfal weddio am y doniau ysbrydol, ac ni atebwyd ei weddi hyd o fewn ychydig ddyddiau yn ol, pan y derbyniodd y ddawn o lefaru â thafodau, a chyfieithad trwy yr Ysbryd; a dywedai iddo gael tâl da am ei amynedd: calonoged y ffaith hon efelychiad.

Mewn cydsyniad â chais llawer o'n darllenwyr, cyhoeddwn y "*Dùw a addolir! Pwy yw?*" yn draethawd, ei bris fydd *tair ceiniog*; rhoddir yr elw arferol i ddosparthwyr. Ni raid dweyd dim am dano, barned pob un wrth â welodd o hono, ond mai yr iawn ystyriaeth o bwysigrwydd dealltwriaeth gywir o wrthddrych ein haddoliad yn unig â ddangosa yr angen am dano; ac nid neb yn fwy nâ'r "gwir addolwyr," a ddeallant fawr angen y lleill o hono. Cywir ddeall ei destun a gywira ei ganlyniadau, ac a adfera addoliadau i'w hysbrydolrwydd cyssefin yn gyferbyniol. Chwaler ef lle y mae mwyaf o gyfeiliorni ar y mater pwysig hwn; a'r Duw a ddesgrifia a roddo iddo rwydd hynt i wneyd mawr les, fel y gogonedder ei enw teilwng.

---

## Y DIRYWIAD ANGHRISTAIDD.

GAN ROBYN DDU, ERYRI.

[Parhad o dud. 112]

Gwedi diflaniad y doniau ysbrydol o'r Eglwys, yn y flwyddyn 570, a'r holl lywodraeth, gwladol ac eglwysig, ynghrafanc yr unrhyw ormesydd, er y flwyddyn 606, daeth y dirywiad i rym a gallu anwrthwynebol mewn trais a gorthrech: canys cyssylltwyd yr haeriad anwireddus o anffaeledigrwydd *personol* y Pab, wrth wirionedd y dadguddiad o anffaeledigrwydd yr

Offeiriadaeth dragywyddol; a hawliwyd cydsyniad y bobl yn mhlaid yr haeriad, heb ganiatau iddynt ymholi pa un ai gwir ai gau y cyfryw haerllugrwydd. Gosodwyd cyfraith, nad oedd i'r llên na'r lleyg feiddio gwrth-ddweyd y cyfeiliornad, dan boen marwolaeth o'r fath erchyllaf; ac o'r cyssegr-lywod-ddysg lygredig yna, gordöwyd y bobl a thywyllwch y fagddu dros ystod hirfaith o flynyddoedd; ac ni allai y gwyr a'i teimlai, lyfasu ymofyn am oleuni, gan ofn i greulonderau y gyfraith drawsfeddianol eu goddiweddyd. Rhydai allweddau gwybodaeth, yn ystafelloedd y mynachod; argauwyd ogylch cyfryngau addysg, yn llyfrgelloedd y Cardinaliaid; Cymmysgwyd y gwirioneddau dwyfol, gyda thwyll y traddodiadau dynol; ac hawliwyd, i Arch-esgob Rhufain, gyfartal awdurdod a Duw y nefoedd!

Ymhyfhäodd y Waldensiaid Selog, yn y flwyddyn 1200, ac ymddihanodd Luther gadarn yn y flwyddyn 1483, megys ereill ar eu hol, i ymgynnyg am ddiwygiad, yn oreu y medrent dori trwy lyfetheiriau y credöau eu magwyd ynddynt; ond y bobl wedi deall y meiddient feddwl a barnu trostynt eu hunain a ymddyrysasant, ac a ymranasant oddiwrth eu gilydd; ac aeth rhai, o herwydd canfod twyll yr haeriad o anffaeledigrwydd personol y Penadur eglwysig, i lwyr ddibrisio gwirioneddau yr impiwyd cyfeiliornadau arnynt, fel na chredent y bu na dadguddiad, nag offeiriadaeth o ddwyfol awdurdod erioed: eithr ereill, o herwydd eu cynnefindod a rhoddi ufydd-dod hygoel a dïymchwil i'r oll a ddywedai y mynachod, ac oblegid y deallent fod rhai pengraddolion, megys Frederick fawr, yn pleidio eu hymryddhad o gaethiwed y Pab, a roddasant yr un fath ymostyngiad gwasaidd i'r Diwygwyr; a chan y proffesai Luther fod pob anffaeledigrwydd yn y Bibl, ac nad oes ychwaneg a ddadguddiadau i'w dysgwyl oddiwrth Dduw, nag a gynnwys y gyfran hyny a ddewisodd ef o'r ysgrythyr, ystyriodd y bobl athrawiaeth Luther yn anffaeledig; ac yn mhen ychydig flynnyddoedd, llawn mor beryglus i ddynion oedd ammheu dywediadau y Diwygiwr, a phe, cyn hyny, yr ammheuasent haeriadau y Pab.

O dro i dro, cyfododd dynion meddylgar mewn amryw wledydd, a ffurfiasant farnau mor wahanol i'w gilydd, ag a ydoedd o wahaniaeth yngraddau eu deall a'u dychymmygion;

enillodd rhai o honynt gefnogaeth breninoedd, tra y merthyrid y lleill am adrodd eu golygiadau: newidiwyd crefydd Lloegr, yn nheyrnasiad Harri, viii, Edward, vi. Mari waedlyd, ac Elizabeth erlidgar; yr hon oedd chwaer i Mary, o ran eu tad, ac o ran eu harferion. Pan welwyd fod merthyru yn amddifadu y wlad o drigolion, llacäwyd yr ormes yn erbyn barn bersonol; a chan gynted ag y dechreuodd casglwyr pleidiau frwydro a'n gilydd trwy i'r naill geisio dynoethi cyfeiliornad y llall, caniatäodd y llywodraeth gyfiawn ryddid i bawb bregethu a fynont, am mai hawdd canfod nad oedd achos ofni i'r Sectau ymuno i wrthryfela yn erbyn y goron tra yr amlygai un blaid y fath elyniaeth tuagat blaid arall: eithr i sicrhau diogelwch gorfodwyd pob plaid i dalu am drwydded i bregethu, gan gymmeryd llw o ffyddlondeb i'r llywodraeth; a chan yr ofnid y pabyddion, o herwydd eu nifer a'u hundeb, dodwyd yn llw, a dyfeisiwyd pob math o anwireddau, yn gymmysg a gwir, gael gan y sectau gydymladd yn erbyn eu gelyn cyffredinol o leiaf.

Glynodd y bobl oll yn ystyfnig wrth eu hamryw flaenoriaid sectyddol: eithr rhag i'r bobl gael eu siglo yn eu golygiadau ymdrechodd pob sect yn hynod o ddiwyd i lunio enw drwg ar sect arall; bu Eglwys Loegr, yn llawn mor ymdrechgar i lysenwi y sectau oll; ac o ganlyniad, dychrynai pawb rhag myned yn agos i'r blaid eu dysgwyd i'w hystyried yn hereticaidd: ond gan y llyncodd yr holl sefydlwyr sectau farn Luther, mewn perthynas i beidio dysgwyl unrhyw ddadguddiad, ond a gafwyd yn y Bibl, anhawdd ydyw cael gan y werin ymadael a'u hen dybiaeth; oblegid, y mae hir arferiad yn magu rhagfarn yn erbyn pob cyfnewidiad, hyd y nod mewn dynion lled synwyrol, gan osod rhwystrau ar ffordd credu gwirionedd na arferwyd ei glywed; fel nad oes ond diwydrwydd dyngarol, a maith amser. a ddichon symud y rhwystrau ymaith, oddigerth i fendith yr Arglwydd gyd fyned a'r llafur mewn modd neillduol o rymus.

Pan yr ymddengys rhwystrau ar ffordd derbyn unrhyw athrawiaeth, neu dystiolaeth, yr unig ddull teg ydyw ystyried, pa un ai yn erbyn cymmeradwyo ai yn erbyn gwrthod y cyfryw, y saif mwyaf o rwystrau: er enghraifft, cafwyd cyfraith Moses mewn oes dywyll; a'r Aipht, gwlad ddysgedicaf y byd pryd hyny wedi ymoliwng i eilunaddoliaeth o'r fath wrthunaf;

er hyny, po mwyaf a gywirwyd ar gyfreithiau gwledydd gwareiddiedig yr oes hon, agosach o hyd y daethant at berffeithrwyddd y ddeddf Fosenaidd; a chan y cydnabyddir felly, i Moses gael mwy doethineb, na holl synwyrau ymgynnulledig dysgedigion y senedd-dai enwocaf, dylai yr anffyddwyr ystyried, pa un ai yn erbyn credu i Moses gael y gyfraith trwy ddadguddiad, ai yn erbyn gwadu hyny, a haeru iddo ei chael trwy gynnorthwy y byd paganaidd y ceir mwyaf o rwystrau: yna, deuent i ddirnad mai haws credu mewn dadguddiad, na phrofi fod oes dywyll yn alluog i lunio cyfraith, o'r fath ag y mae ei phurdeb perffaith yn peri syndod i brif ddysgawdwyr gwladwriaethol yr oes oleu hon. Gan hyny, buddiol i'r rhai a gredant yn nadguddiad y ddeddf i Moses, a fyddai ystyried, pa un hawsaf, ai credu y miloedd tystion byw, sydd yn dywedyd y bod Duw yn dadguddio ei gyfrinach i'w weision yn awr, fel o Adda hyd i'r apostolion, ai ynte profi fod yr Arglwydd naill ai heb Eglwys ar y ddaear, neu ei fod yn gyfnewidiol ei ymddygiadau tuag at y cyfryw. Ystyrier, meddaf pa un sydd fwyaf rhesymol i Gristion, ai credu gair yr Iesu, "Yr arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant," ynte gwadu yr arwyddion, gan geisio dangos Crist fel pe yn euog o anwiredd twyllodrus; myfyrier yn ddwys, pa un sydd agosaf i sicrwydd gobaith plentyn y nefoedd, ai perchen ffydd yn ymadrodd y Messiah, "Nid trwy fara yn unig y bydd byw dyn, ond trwy bob gair *a ddaw* allan o enau Duw; ynte meddu hygoeledd yn haeriad esbonwyr; sef, y bydd dyn fyw trwy bob gair *a ddaeth* yn yr oesoedd cyntefig.

Nid oes ond Saint y Dyddiau Diweddaf, yn *proffesu* mwynhad o gyflawniad addewidion Crist am y doniau ysbrydol canys y mae y sectau oll yn gwadu yr angeurheidrwydd o'u cyflawniad: gan hyny, y Saint yn unig sydd yn cyffesu eu hunain yn dystion byw, o eirwiredd yr un na chafwyd twyll yn ei enau; a rhaid felly; nad yw sectariaeth ond darnau holltog o'r Dirywiad Anghristaidd. *(I'w barhau.)*

---

## NEWYDDION EGLWYSIG CARTREFOL.

DEHEUDIR.—"Amseroedd yr adferiad," eisoes a ddaeth i raddau, ac a barha i ddyfod yn hynod o gyflym yn y parthau

hyn; nid yn unig yn mhlith y Saint y mae cynnyddiant cariad a duwioldeb; ond fel "colomenod i'w ffenestri,"—fel milwyr glew yn llu y dychwela afradloniaid, ac yr ymadnewydda yr anffyddloniaid wrth y chwech, wyth, deg, a mwy na hyny yn yr un cwrdd; ac ychwaneg etto ar ddod. Y Duw grasol a hir-ymarous a'u nertho i gadw ei orchymynion hyd y diwedd. Nid rhyfedd i'r Tad hwnw ladd y llo pasgedig ar ddychweliad ei afradlon-fab; erioed o'r blaen ni theimlem mor awyddus i'w efelychu; erioed cyn hyn ni wybuom mor eglur felysder y pleser a gâ ein Tad ni oll, yn chwilio am le i drugarhau, a'r teimlad grasol yw cael lle i faddeu yn rhad—yn llwyr! Wrth gyferbynu y teimladau gofidus a fegir ynom, wrth weled brawd anwyl yn cefnu ar eglwys Dduw, dan gyffesu a thystio ei fod yn gwybod yn ddiammheuol mai unig wir eglwys Dduw yw hi—yn fforffetio ei holl fendithion gwerthfawr hi, a'r anwyliaid a fuont gu gan ei galon; yn cefnu ar Dduw, ac ar bob pleser sydd yn werth ei gael; ar wirioneddau, ac ar y nefoedd ei hunan; a'r teimladau gorfoleddus a achosa dychweliad edifeiriol y cyfryw yn ol i'r eglwys, braidd na chydsyniem â'r gair a ddywed fod "pob peth yn dda ag sydd yn diweddu yn dda." Etto, nid neb llai na'r Duw a bïa y gwaith hwn a ddichon oruwch-lywyddu esiamplau drwg gwrthgilwyr i fod er lleshad i'r rhai a dramgwyddasent wrthynt: er hyny, gwna efe "i gynddaredd dyn ei ganmol;" ac fel bugail da dychwela a'r gyfr-golledig adref ar ei ysgwyddau ei hun yn llawen. Parchedig ofn i'r fath dirion Dad a warchaeo o'n hamgylch ni, yn gadarnach tŵr nag y gall holl fleiddiaid byd, ac uffern hefyd, ein gyru na'n swyno o hono. Ei hir-amynedd Ef a ddychwelo yn ol y gweddill, oll, o'i blant crwydredig i'w dŷ i wledda ar seigiau nefol—flasus fwyd—bara y blant, fel y cynnyddont ar ei ddelw, cyn y caio y drws, ac y dywed "GAD IDDO.

GWYNEDD.—Mae argoelion cynnydd yn destunau llawenhau gan ein brodyr gogleddol hefyd! Mwynhawyd amser hyfryd yn Nghymmanfa Sir Fflint, yr hon a gynnaliwyd yn Brymbo, y Sul diweddaf, ebe llythyr dyddorol ein Cynghorydd. Dyfyniad o lythyr yr Henuriad Thomas Jeremy, yr hwn sydd yno yn bresennol, a ddangosa sefyllfa yr achos yn Sir Fflint fel y canlyn:—"Y mae y brawd J. Parry a minnau wedi ymweled â'r Saint mewn amryw gangenau eisoes, ac yr ydym yn ym-

drechu â'n holl egni i adeiladu y Saint, a'u hannog i fod yn awyddus i ddonian ysbrydol, ac ymsanteiddio eu hunain gerbron yr Arglydd. Cawsom gyfarfod da iawn iawn neithiwr yn Nglân-yrafon, dosparth o gangen New-market; ni theimlais i ddim mwy o Ysbryd yr Arglwydd er ys llawer dydd: daeth yr Ysbryd yno fel gwynt nerthol, ac a lanwodd yr holl dŷ,—llefarwyd â thafodau dyeithr, cyfieithwyd a phrophwydwyd; nis gallwn lai nag wylo dagrau o lawenydd, gan y fath deimladau hyfrydlawn oedd yno. Gadawaf i chwi dychymmygu am weddill ein cwrdd, ond yn unig y dywedaf ei fod yn debyg i'r amser da hyny ar lofft Glantren Fawr, er ys llawer dydd. Yr wyf wedi bod naill ai mewn cyfarfodydd Saint, neu yn pregethu i'r byd, bob nos braidd er pan wyf yn y Gogledd. Y mae tua chwech wedi addaw cymmeryd eu bedyddio er pan yr wyf yma, a gwrandawiad da mewn rhai manau. Cewch hanes Cymmanfa y Sir hon genyf etto, yr hon a fydd yn Abergele y Sul nesaf."

## ARWYDDION YR AMSERAU.

Prawf Cyfrifiad poblogaeth y byd bob deng mlynedd, gan y gwahanol lywodraethau gwladwriaethol, mai gwirionedd ydyw fod diwedd pob peth yn agoshau. Cyfartalwch y bywyd dynol sydd oddeutu 33 mlynedd. Mae un ran o bedair y bobl yn marw cyn cyrhaedd eu 7 mlwydd, eu haner yn marw cyn gweled 17 mlynedd; a gwelir felly fod yr holl rai a gyrhaeddant dros yr oedran 17, yn mwynhau yr hyn a naceir i haner y rhywogaeth ddynol. O bob 1,000 o bersonau, nid oes ond 1 person yn cael byw 100 o flynyddoedd, o bob 100, nid oes ond 6 yn cael byw 65; ac nid oes ond 1 o 500 yn byw i weled ei oedran yn 80. Mae y bobl priodasol yn mwynhau bywyd hwy na y rhai sengyl; ac uwchlaw y cwbl, y rhai a gadwant eu hunain yn sobr a diwyd sydd hwyaf eu heinioes. Mae pobl dâl gan amlaf yn byw mwy o flynyddoedd na phobl fyrion eu cyrff. Priodasau ydynt fynychaf ar ol cyhydedd dydd a nos: sef, yn ystod y misoedd Mehefin a Rhagfyr. Mae y rhai a enir yn y Gwanwyn yn gryfach dynion, yn y cyffredin, nag ereill; ac amlach ydyw genedigaethau a marwolaethau yn y nos na'r dydd. Ystyrir fod y rhai galluog i gludo arfau milwriaeth yn cynnwys oddeutu un rhan o bedair y boblogaeth; ac y mae bod Lloegr, Ffrainc, a gwledydd ereill yn anfon milwyr i dori palfau Arth Rwisia, yn dangos fod yr un ran o bedair i gael eu chwynu y mis nesaf, a'r misoedd canlynol, ar finion yr afon Danube, a lleoedd ereill. Ymadawodd cennadon Rwssia o Lun-

dain ac o Paris; mae'r Danube yn ymchwyddo gan feiriol ei rhew, a byddin Twrci yn gorfod arafu ei hymdaith tua maes y brwydro. Anfonir llynges o Loegr, yn nechreu mis Mawrth, ynghyd ag amryw gatrodau byddinol; bwriedir cau am Rwssia fel nas gall anfon milwyr allan, na derbyn unrhyw gymhorth i mewn. Adeiladodd Lloegr, yn y chwe mis diweddaf longau mwy eu maint, eu nerth, a'u cymhwysderau, nag a fu ganddi erioed o'r blaen; a thebygol y dirwasgant hwy longau bychain Rwssia, yr un fath a llethu cynnifer o wyau nofiedig, tra y dodir dynion, ar for ac ar dir, yn nodau o flaen pelenau plwm magnelau rhyfel: onid dedwydd y Saint a hwyliasant tua chyfaneddle heddwch Seion Duw? Clywsom am wr tál ei gorff yn perthyn i fllwyr dinasyddaidd, yr hwn pan archwyd iddo ddal ei ben i fyny, gan swyddog byr ei gorff, a ofynodd ai rhaid oedd iddo ddal ei ben i fyny o hyd; a phan ei hysbyswyd mai rhaid, dywedodd, "*Ffarwel Sir, ni welaf fi mo honoch byth mwy?*" Hawdd i'r Saint a gychwynasant tu a Dyffryn y mynyddoedd, yw dywedyd "*Ffarwel* Ormeswyr; *ffarwel* ymladdwyr, a *ffarwel* erlidwyr plant yr Arglwydd; ni welwn ni byth mo honoch chwi mwyach. Mae cyffröad gwrthbabaidd, yn cynhyrfu pobl Unol Daleithiau America: yn Cincinnati llosgwyd eilun gwellt o Bedini, cennadwr, y Pab; gan faint y cythrwfl a barai ei fwriad i ymweled ag Orleans Newydd, yn nhrigolion y lle hwnw, a chan y cyffröwyd pobl Efrog Newydd, Wheeling, Baltimore a lleoedd ereill i losgi ei lun, dywedir y dychwel i Ewrop, heb geisio tramwyo yr Amerig, rhag y digwydd ei losgi yntau! Cisiodd Offeiriaid Eglwys Loegr, gynnal Cymmanfa ddadleuol;—eithr y llywodraeth wladol sydd wrthwynebus tra mae y Saint yn gallu gweled llygad yn llygad ac oll yn llygad eu lle.

---

DERBYNIADAU O CHWEF. 14 HYD CHWEF. 21.—Dwyr. Morganwg, £2 11s; Sir Fynwy, £2 10s; Gorllewin Morganwg, £3 10s; Penfro Orllewinol, £1 4s 3c; Sir Fôn, 6s.—Cyfanswm, £10 1s 3c.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street*, *Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14 CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 9.] MAWRTH 4, 1854. [CYF. VII.

## Y DUW A ADDOLIR!—PWY YW?

[Parhad o dud. 121.]

ER ymresymu llawer, etto, ni allwn ni ddirnad am un hawl goruwch i hawl y tad a genedlodd ei blant; efe a'u pïa, os na fforffetiodd yr hawl hono drwy droseddiadau; felly ni wyddom am hawl nac offeiriadaeth goruwch yr un Batriarchaidd tra yr ymddygant hwy yn unol â, a darostyngedig i'w Patriarchiaid hwythau, ac felly yn olynol. A pheth a gaem ni ar ddechreuad yr hîl ddynol? Caffem mai Adda i'w prif batriarch y greadigaeth hon, efe yw y cyntaf, yr *hynaf mewn dyddiau*, ac o herwydd hyny, gelwir ef yn "HENDDIHENYDD," yn yr ysgrythyrau. Efe a gafodd y gorchymyn mawr cyntaf i ddechreu eppilio a llanw y ddaear a'i hiliogaeth; ac nid hyny yn unig, ond hefyd i'w darostwng hi ac *arglwyddiaethu* arni. Pa fodd y gallai arglwyddiaethu heb ei fod yn *Arglwydd?* Dim modd iddo. Ei Dad a roddes iddo yr hawl oruchel a thragywyddol hon; canys ni ddywedodd wrtho am arglwyddiaethu hyd angau, ond y mae y gorchymyn yn ddiderfyn. Ond meddir, efe a gollodd ei hawl trwy bechod. Am ei bechod y mae mwy o waith amddiffyn ar gymmeriad ein cyn batriarch rhag camgyhuddiadau ei blant llygredig, nag a allwn ei wneyd yn y man hyn; ein pleser a fydd gwneyd hyny etto. Oeder y ddedfryd arno nes y caiff dreial teg o flaen brawdle y gwirionedd o leiaf. Eithr pe fforffetiodd ei hawl, oni chaed iawn? A pha iawn a allasai fod, oddieithr iddo symmud y canlyniad a dwyn adferiad? Os felly ynte,

Adda a osodwyd gan ei Dad i fod yn Brif, yn ben Arglwydd ar y byd a'i holl drigolion. Er fod yn gysson â'r uchod, meddir, a bod ei hawl batriarchaidd yn gyfiawn, anghenrheidiol ei fod Ef yn dad ein hysbrydoedd ni, heblaw tad ein cyrff! Cydnabydda ei holl hiliogaeth yn rhwydd mai "plant Adda" ydym ni oll; ond Duw yw tad ein hysbrydoedd, meddir! Pa fodd y cyssonir croeshaeriadau fel hyn, meddir? Wel, gan bwyll, efallai y diflana y gwyrni tybiol. Beth pe treiem fel hyn: Pwy yw y Duw hwnw a alwn yn dad ein hysbrydoedd? Atebwn, mai y Duw hwnw sydd etto i'n barnu yn y dydd a ddaw. Dywed Paul mai Tad ein Harglwydd Iesu Grist yw efe, 1 Cor. xv, 24,—28, —"Yna y bydd y diwedd, wedi y rhoddo efe y deyrnas i Dduw a'r Tad; wedi iddo ddileu pob pendefigaeth, a phob awdurdod a nerth. Canys rhaid iddo deyrnasu hyd oni osodo ei holl elynion dan ei draed. Y gelyn diweddaf a ddinystrir yw yr angau. Canys efe a ddarostyngodd bob peth dan ei draed ef. Eithr pan yw yn dywedyd fod pob peth wedi eu darostwng, amlwg yw mai oddieithr yr hwn a ddarostyngodd bob peth iddo. A phan y darostynger pob peth iddo, yna y Mab ei hun hefyd a ddarostyngir i'r hwn a ddarostyngodd bob peth iddo ef, fel y byddo *Duw oll yn oll.*" Iesu Grist, gweler, fydd yn cario gwaith y Tad yn mlaen, megys y gweddai i bob mab hynaf dros ei dad, hyd nes y cyflawna yr hyn a roddes ei Dad iddo i'w wneuthur; yma gweler fod yn rhaid iddo deyrnasu ar y ddaear hon, hyd oni osodo ei elynion tan ei draed. Efe a fydd frenin breninoedd, pan y delo holl deyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef. Iddo ef y cyffesa pob tafod, ac y plyga pob glin. Etto nid yw hyna oll yn arddangos mai efe fydd prif "Arglwydd" Llywyddol y byd hwn, ond arall yn ol y cyfammod cyntaf.

Wedi y gwnelo y Mab yr holl waith a rodded iddo, yna efe a ddyry ei hunan, a'r oll a wnaeth i fyny i Dduw a'r Tad, sef ei Dad ef a'n Tad ninnau; yr un person yw efe ag a elwir uchod yn *Dduw*. Drwy gyflwyniad ei oruchwyliaeth i fyny iddo Ef, cydnabydda y Mab ei oruchel hawl i'r oll. "Y Mab ei hun hefyd a *ddarostyngir*," i'r Duw Dad hwn, sylwer; ac felly y "bydd *Duw oll* YN *oll.*" Mewn geiriau ereill, bydd cyflawnder y Duwdod, sef hollwybodaeth, hollalluogrwydd, y cyflawnder o wirionedd a'r perffeithrwydd o gariad, yn mhob un o'r dyrfa

liosog yn y deyrnas; a'r pryd hyny y meddianant y priodoledd-au hyn, a elwir y "Duwdod," neu Duw *ynddynt oll* a'r oll ynddo Ef; sef yn y Duw hollbresennol hwn. Gwelir oddiwrth weledigaeth Ioan, mai y Duw hwn a fydd a'r yr orsedd farnol, pan y dygir yr holl feirw ger ei fron. Dad. xx, 11—15,—"Ac mi a welais orsedd-fainc wen fawr, a'r hwn oedd yn eistedd arni, oddi wrth wyneb yr hwn y ffodd y ddaear a'r nef: a lle ni chafwyd iddynt. Ac mi a welais y meirw, fychain a mawrion, yn sefyll ger bron Duw; a'r llyfrau a agorwyd: a llyfr arall a agorwyd, yr hwn yw llyfr y bywyd: a barnwyd y meirw wrth y pethau oedd wedi eu hysgrifenu yn y llyfrau, yn ol eu gweithredoedd. A rhoddodd y môr i fyny y meirw oedd ynddo; a marwolaeth ac uffern a roddasant i fyny y meirw oedd ynddynt hwythau: a hwy a farnwyd bob un yn ol eu gweithredoedd. A marwolaeth ac uffern a fwriwyd i'r llyn o dân. Hon yw yr ail farwolaeth. A phwy bynag ni chafwyd wedi ei ysgrifenu yn llyfr y bywyd, bwriwyd ef i'r llyn o dân." Cyferbynier hyn, â'r hyn a ddywed Daniel yn pen. vii, 9, 10, 13, 14,—"Edrychais hyd oni fwriwyd i lawr y gorseddfeydd, a'r Hen ddihenydd a eisteddodd: ei wisg oedd cyn wynned a'r eira, a gwallt ei ben fel gwlan pur; ei orseddfa yn fflam dân a'r olwynion yn dân poeth. Afon danllyd oedd yn rhedeg, ac yn dyfod allan oddi ger ei fron ef: mil o filoedd a'i gwasanaethent, a myrdd fyrddiwn a safent ger ei fron: y farn a eisteddodd, ac agorwyd y llyfrau. Mi a welwn mewn gweledigaethau nos, ac wele, megys Mab y dyn oedd yn dyfod gydâ chymmylau y nefoedd; ac at yr Hen ddihenydd y daeth, a hwy a'i dygasant ger ei fron ef. Ac efe a roddes iddo lywodraeth, a gogoniant, a brenhiniaeth, fel y byddai i'r holl bobloedd, cenedloedd, a ieithoedd, ei wasnaethu ef: ei lywodraeth sydd lywodraeth dragywyddol, yr hon nid â ymaith, a'i freniniaeth ni ddyfethir."

Yr un person gogoneddus a elwir gan Ioan yn Dduw, gan y Mab yn ol a ddyfynwyd uchod, yn "Dduw a'r Tad," a elwir yma yn "*Hen ddihenydd*." Mae y gwaith mawr a wna, sef barnu y byd, yn profi mai yr un cyfnod y cyfeirir ato gan y naill a'r llall; hefyd, y ffaith na bydd ond "un dydd barn," yn profi mai yr un a fydd y barnwr serch y gelwir ef gan ynaill yn "Dduw Dad," a chan arall "yr hen ddihenydd." Hefyd profa cyffelyb ymddarostyngiad y Mab i'r "Hen-ddihenydd,"

yn ol gweledigaeth Daniel, ag yw yn ol Paul, i "Dduw a'i Dad," mai at yr un person y cyfeiriai y ddau. Hunanieithir hefyd drwy gyffelybrwydd y "llywodraeth" a'r dyrchafiad a dderbyniai y Mab yn ol y ddwy weledigaeth. Cyd wela y ddau danbeidrwydd yr orsedd,—lliosogrwydd y gwyddfodolion, a hynodrwydd y cymmeriadau a fernir, sef y "bwystfilod" fel eu gelwir; heblaw fod unigolrwydd y "dydd barn," y fuddugoliaeth a sicrheir, a thragywyddol fwynhad o'r deyrnas i'w theilwng etifeddion; oll, yn profi mai yr un cyfnod y cyfeirir ato; ac felly mai yr un person barnol a lanwa yr un orsedd ogoneddus, er dan wahanol enwau. Eithr rhag yr arosa ammheuaeth yn hwy, ai yr un yw yr "Hen-ddihenydd" a'r Duw a eilw Iesu Grist yn "Dad," sylwer ar ddywediad yr angel Gabriel wrth Mair ei fam Ef, yn Luc i. 32, 33,—"Hwn fydd mawr, ac a elwir yn Fab y Goruchaf; ac iddo rhydd yr Arglwydd Dduw orseddfa ei dad Dafydd. Ac efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd; ac ar ei freniniaeth ni bydd diwedd." Dyma dystiolaeth yr angel mwyaf ond un a feddai y nefoedd, i brofi mai y "Goruchaf" a goronai ei Fab Iesu â'r deyrnas dragywyddol, ac â'r llywodraeth ddiderfyn; a chawsom dystiolaeth Daniel, yr hon a gafodd, yn dra thebygol, gan yr un Gabriel, yr hwn a fuasai gydag ef amryw weithiau, yn profi mai yr "Hen-ddihenydd" a roddai yr un "llywodraeth" iddo; ac felly mwy na thebyg nad oedd yr "Hen-ddihenydd" ond enw arall ar y "Goruchaf," ei "Dad," &c. Wedi ei sefydlu ar y ffaith ysgrythyrol o ddwyfol genedliad y Mab o ran ei Ysbryd o Dduw yn y nefoedd, y gwelir cyssondeb cenedliad ei gorff o'r un Tad yn mrû y Forwyn Gan fod Iesu yn cael ei ystyried yn frawd i ni, oni orfoda y berthynas agos hono ei fod yn *anedig* o'r un Tad â ninnau; er y dichon y Tad hwnw fod yn Dduw ac yn ddyn; yn Dduw neu yn ddyn ar genedliad y naill neu y llall? Os gwir ein gosodiad, mai y "Goruchaf," perthynol i'r byd hwn; sef Tad Iesu Grist yw Tad ein hysbrydoedd,—os profasom mai yr un yw efe a'r hen "Ddihenydd," yna yr "Henddihenydd" yw Tad ein hysbrydoedd ni oll. Rhag ein bod heb brofi yn ddigon eglur, mai yr un person yw yr hwn a elwir yn "Hen-ddihenydd" ag a elwir yn "Adda," ychwanegwn fod hyny wedi ei ddadguddio i Joseph y Gweledydd; os felly, yr un Tad sydd i'n cyrff daearol yn ddechreuol, ag oedd

i'n hysbrydoedd ni; ac mai ein Tad ysbrydol a chorfforol ni, a'n "brawd hynaf," fydd ein barnwr cyfiawn a grasol ni oll, yn y dydd a ddaw. Onid cyssonach hyny nâ'r meddylddrych poblogaidd mai y naill yw Tad ein hysbrydoedd, ac arall yw ein Tad daearol dechreuol? Hefyd, pe felly y mae, gofynwn pa un o'r ddau fyddai ein Tad, os cawn y fraint o gael rhan o "ogoniant meibion Duw," sef "adgyfodiad y corff?" ynte, a honna dau dad ni yn blant i bob un o honynt? neu a dybir na fydd gan holl feibion Duw eu tad, fel y cyfaddefir y bydd gan y "Mab hynaf?"

Efallai yr arswydir rhag athrawiaeth a ymddengys mor newydd a rhyfedd, ag yw ein testun i lawer; er hyny, ni allwn ni wrth ganlyniadau anocheladwy gwirioneddau a welir yn yr ysgrythyrau; ac ni ddirnadwn pa wrthwynebrwydd sydd gan undyn i'r hwn a ystyrir yn ddigon da i fod yn dad daearol i ni, i fod hefyd yn dad ein hysbrydoedd ni, tra yn Dduw yn y nefoedd;—na phaham nad yw mor addas batriarch, neu Dduw, ag yw i'r un o'r ddwy berthynas flaenorol. Yn mhellach, ymresymwn ar y gosodiad hwn fel y canlyn:—sef, gan nad ystyrir neb o blant Adda mewn sefyllfa o gadwedigaeth berffaith, hyd oni chaffont adgyfodiad eu cyrff yn anllygredig, a bod "yn wyr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist;" pa fodd y cwblhasai Tad ein hysbrydoedd ein hiachawdwriaeth, heb ddyfod yn dad i'n cyrff daearol? Ai o herwydd y mawrheir cymmaint o'r pwlpudau am "gamwedd Adda," yr ystyrir ef yn anheilwng o'r oruchel gylch ag y ceisiwn ddangos sydd yn ei gyfreithlawn hawl? Eithr cofier nad yw efe fwy na ninnau yn euog o bob cyhuddiad a ddygir i'w erbyn o'r pwlpudau, nac, o ganlyniad, yn atebol i'w brawdlys hwy. Os gwaethyga cymmeriad Adda gymmaint am chwe mil o flwyddi etto, ag a wnaethpwyd iddo yn y mynedol, ni wyddom pa le y caiff ei blant rhith dduwiol le ddigon poenus i'w gospi: y mae yn waeth o lawer yn awr nag oedd yn amser Paul, canys dywedai efe "nid Adda a bechodd, ond y wraig." Ac nid yw efe, ar a wyddom ni, wedi ei brofi yn euog o bechod bwriadol, o flaen unrhyw frawdle gyfiawn, er ei fod wedi caru tipyn gormod ar ei wraig efallai, yn anfwriadol; eithr ychwaneg ar hyn etto. Os oedd y Duw hwn ddigon da o wrthddrych addoliad gan Iesu Grist, paham nad yw yn ddigon teilwng o ymddiried ei holl

blant felly? Etto, nid ei berson ond ei Dduwdod, fel y soniasom eisoes; tra y mae yntau mewn undeb hollol â'i Dad ef. Er fod "arglwyddi lawer," paham nad efe yw prif Arglwydd ei deulu ei hun ar y byd hwn? a chan "nad oes *i ni* ond un Duw," paham nad hwn yw efe? Gan y dysgwylia holl feibion Duw gyrhaedd y "gamp uchel" hon; gan mai Adda a bïa y llywodraeth batriarchyddol, drwy iddo ein cenedlu, ac o herwydd i'w Dduw ei osod i "arglwyddiaethu" ar y ddaear hon yn ddiderfyn, paham nad yw efe wedi cyrhaedd y Duwdod yn ol, o'u blaen hwy oll? Er dyfod filiynau o'i hîl ef yr un modd, ni byddant mwy anymddibynol arno ef, nag yw yntau ar yr *Eloheim* mawr. Cyn y gwneir ewyllys Duw ar y ddaear, megys ei gweir yn y nef, fel y gweddiodd Crist, rhaid fod pob teulu mewn perffaith ufydd-dod i'w Patriach, yn ol cynllun y nef, a'n tad cyntaf ni oll yn arch-batriarch hollalluog ar yr oll, heb neb yn tynu yn groes. Pe felly, ni fyddai anghen *cyfnewiad* namyn *perffeithiad* yr aelodau, er gwneyd daear yn nefoedd, —a'r hîl ddynol yn hîl ddwyfol o ran egwyddor. Tra yr ufyddhao i'w Dduw, ei hawl hanfodol i'w llywyddu ar ei eiddo, yn nghyd ag ar y rhai a'i dewisant ef yn dad iddynt; nid oes ond ei droseddau ei hun a'i hamddifada o hyny, ac iddo ef y maent yn gyfrifol, yn ol trefn Duw am yr oll a wnaht.

Hysbysa Joseph y Gweledydd ni, nad yw yr "Hen-ddihenydd," "Michael" ac "Adda," ond gwahanol enwau perthynol i'r un person, ag y dywed yr ysgrythyr gymmaint am eu fawredd a'i ogoniant; dro arall gelwir ef "Michael y tywysog PENAF," a galwai Gabriel ef, "Michael eich tywysog CHWI.' Profir uchafiaeth yr olaf ar Gabriel, yr hwn yw Noah, er ei fod yn ben ar y byd ol-ddiluwiol, fel yr oedd y llall yn y byd cyn-ddiluwiol, drwy iddo ei ryddhau ar ei hynt o afaelion galluog angel "tywysog Persia," yr hwn a'i cadwasai yn garcharor, debygid, am "un niwrnod ar hugain." Y Michael hwn a gawn yn Brif yn y cynghor boreu,—yn ei erbyn ef y rhyfelai Lusiffer; ac Efe a'i fyddinoedd a'i halltudiodd o'r nef; efe a'i rhwyma a'r "gadwen fawr," ac a'i gyra ef a'r "bwystfilod" a'i haddolant, i'r "ail farwolaeth." Os nad Michael oedd Tad yr ysbrydoedd yn y gwrthryfel hwnw, pwy oedd eu tad, a pha ham na sonir am dano, neu na fuasai efe yn pleidio ei blant ufydd yn erbyn gormes y teyrnfradwr? Cawn trwy ddadgudd-

iadau, i'r Tad ofyn i'r ysbrydoedd yn y cynghor boreu, pwy a elai i roddi ei fywyd dros ei frodyr? Atebodd ei Fab hynaf, "Wele fi, danfon fi." Ebe yr ail fab, "anfon fi." Myfi a anfonaf y cyntaf, ebe y Tad, a'r ail a ddigiodd, a'r "pryd hyny y dechreuodd fyned yn Satan." Yn ol hyn, dau frawd oedd Iesu a Lusiffer, yr un oedd eu Tad,—pwy oedd hwnw? Os profasom mai yr un yw yr "Hen-ddihenydd" a'r hwn a alwai Iesu yn "Dad," ac mai yr un yw hwnw a Michael, yna cyfaddefa yr Iesu mai Michael oedd ei Dad; os yn dad iddo ef, ac yntau yn frawd i ni, paham nad y Michael hwnw yw Tad a Duw yr *holl ysbrydoedd*, ïe, tad Lusiffer hefyd? Ai rhyfedd ynte, fyddai iddo fod yn addas farnwr y naill, ac yn Dduw i'r lleill a ufyddhasant iddo? Os Duw i'r ysbrydion, paham nad addas Dduw iddynt tra yn ddynion?

Teilwng o efelychiad yn hytrach nag o gondemniad, pe eu hiawn ystyrid, yw holl ymddygiadau ein Pen-cyfammodwr" at ei deulu a gynrychiolai; ei ofal cyntaf drostynt a welid yn cenedlu cyrff iddynt, heb y cyfryw ni allent bythoedd ddyfod yn Dduwiau, fel efe ei hun; yn nesaf, dysgodd iddynt ffordd yr iachawdwriaeth, trwy eiriau ac esiamplau; cyflwynodd iddynt yr Offeiriadaeth, a galluogodd y rhai a fynent o honynt fel Enoch, i "RODIO GYDA DUW dri chan mlynedd." Er na enwir y Duw hwnw, etto hysbys fod Enoch yn cyd-oesi ag Adda! Nid yn unig dangosodd ei fawr ofal dros wrthddrychau ei "ARGLWYDDIAETH" tra yr oedd yn myd yr ysbrydoedd, ac ar y ddaear gyda hwynt; ond ar ol ei ymadawiad nid oedd ei ofal lai, os efe yw Michael: mynych yr anfonai orchwyliaethau dilynol i ddystrywiad y rhai blaenorol gan ei wrthnysig blant, achubiaeth,—llesâd presennol, a gogoniant tragywyddol y rhai oedd ei amcan yn yr oll. Y naill genad ar ol y llall ag ammodau hedd,—anfonai, drwy y miloedd blynyddau mynedol, ei gedyrn a'i ddewrion yn yr ymgyrch boreuol, megys Abraham, Moses, Elias, a'r holl brophwydi; ac yn yr amser rhagderfynedig, anfonodd ei anwyl Fab,—yr Oen a laddwyd (mewn addewid) er cyn seiliad y byd, er mwyn achub ei frodyr a'i chwiorydd ieuengach,—ei fywyd yn aberth rhoes ar gais ei Dad, yr hyn a'i "llwyr foddlonodd." Yntau a anfonodd ei weision â'r un ammodau heddwch â chynt, ond i gyfarfod â'r cyffelyb arw driniaeth a'u rhagflaenwyr, a chan y rhai a geisient lesoli fwy-

af. Yn olaf oll i'n plith ni, ar ba rai y daeth diwedd y byd eisoes braidd, anfonodd ei weision Joseph a Hyrum, ac ereill lu o ddewrion, megys cynt, ac adferiad yr un ammodau hedd-wch byth,—" goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd,"—yr " efengyl dragywyddol," drwy yr hon y dygir bywyd ac an-llygredigaeth i oleuni. Gwerth eu bywydau hwythau oedd cyhoeddi y genadwri rasol, ac, fel braidd yr oll o'u blaen, sel-iasant ei gwirionedd â'u gwaed yn ewyllysgar. Pa beth yn ychwaneg a allasai un Tad wneyd er achubiaeth ei blant, nag a wnaeth Efe? Yna yr ymddyscleiria ei gyfiawnder yn ogon-eddus, yn nghollfarniad gwrthodwyr a diystyrwyr y fath rag-ofalon tadol ar eu rhan; ac felly, mawrygir ei raslonrwydd yn achubiaeth ei ufyddion i wynfyd a bywyd tragywyddol.

O! ryfedd ddoethineb arddangosiadol yn nhrefniad cynllun mor ogoneddus, trwy yr hwn y gall olyniad diderfyn o blant Adda ddyfod yn dadau—yn *batriarchiaid*—yn DDUWIAU!—oll, yn hollol anymddibynol yn eu cylch,—oll, mewn undeb a hedd, —oll, yn Freninoedd, ac oll yn ddeiliaid, yn teyrnasu mewn gogoniant a pherffaith ddedwyddwch bythol!

Anwyl ddarllenydd, cyd-lawenha â'r awdwr yn y fath fraint —gorfoleddwn yn mhob ufydd-dod i'n cyfreithlawn reolwr fel ein derbynier i'w ogoniant Ef, pan ddelo ar ei orsedd danbaid i farnu byw a meirw, yn ol tystiolaeth yr efengyl hon.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

### DYDD SADWRN, MAWRTH 4, 1854.

INDIA DDWYREINIOL.—Ysgrifena yr Henuriad S. A. Wooley, o Kurnaul, dyddiedig, Rhag. 9, 1853, ei fod ef a'r Henuriad Fotheringham, wedi cyrhaedd y lle uchod, ar eu taith trwy yr India uchaf i bregethu yr efengyl; eu bod er ys tua phedwar mis yn teithio, gan bregethu yr efengyl lle y caffent wrandaw-iad; a'u bod y pryd hyny tua mil o filltiroedd o Calcutta, lle y cychwynasant o hono. Cawsant garedigrwydd mawr gan yr

Indiaid fynychaf, yn neillduol yn Belaspoor, lle yr oedd yr Henuriad Willis yn llafurio yn llwyddiannus. Cyd-dystia y cenadon ffyddlon hyn o anfoniad Duw â holl weision gwirioneddol yr Iesu yn Ynysoedd Môr y Dê, Australia, Cape of Good Hope, a holl barthau y byd lle yr ëir a'r efengyl dragywyddol hon, mai y rhai a broffesant eu hunain yn offeiriaid Cristionogaeth, ac yn "genadon dros Iesu," yw eu gelynion a'u herlidwyr creulonaf hwy. Oddigerth ambell eithriad anrhydeddus, ymosoda y cenadon erlidgar yn waeth na'r dibroffes; mewn gwledydd pellenig y mae ganddynt gryn ddylanwad, o herwydd cynnelir hwy fel *nabobs* yn ngolwg y werin, trwy gyfraniadau eu hudolion cartrefol, a'r mwyafrif o'r rhai hyny o ddimeuau a cheiniogau y tlodion, y rhai ydynt yn sefyll mewn mwy o'u hanghen eu hunain o lawer.

Blynyddau lawer o adnabyddiaeth â'r gwahanol orsafau cenadol drwy ran fawr o'r byd, a ddarlunia yn awr o flaen ein meddwl, gyda theimladau gofidus dros ein brodyr, beth a ddyoddefant oddiwrth y fath hunanol feilchion coel-grefyddol; ac hawdd genym ni ddeall yr achos o'u gwrthwynebrwydd, canys ofnant golli eu parch a'u ceiniogau; a phe ufyddhäai y trigolion i'r efengyl ni fyddai eu heisieu hwy yno; heblaw eu gelyniaeth at wirioneddau dwyfol. Ystoriau anwireddus y newyddiaduron yw yr oll a ymofynant hwy, a'r oll a goeliant; ac ar hyny gwrthodant wirionedd gwrthbrofiadol. O! y fath greulondeb at ddynoliaeth, yw diystyru eu cyd-ddyn o'r un gwaed a chenedl â'u hunain, ynghanol paganiaid,—filoedd o filltiroedd o bob gwlad waraidd; tra y mae digon o le i'r oll wneyd daioni, pe eu hawydd fyddai achub dynion! Yn awr y mae iddynt hwy eu dydd, a'r dyoddefyddion eu hadfyd; ond buan y daw y dydd pan gyda y goludog hwnw y deallant, mai gwell pe nas ganasid hwy,—mai gwell i'r cyfranwyr atynt i borthi eu tlodion newynog cartrefol, nâ gyru y fath ddynion i wyrdroi paganiaid, moesol mewn cymhariaeth, i fod yn saith waeth blant uffern nag o'r blaen. Ffeithiau a welsom, meddwn, a achosa i ni siarad mor blaen, a'r dyfyniad canlynol o'u llythyr hwy yn y rhyfyn hwn a barai braidd i gerryg siarad yn erbyn y fath Grist'nogaeth greulawn ag a geir yn ei chenadon yn yr India, a llawer o fanau ereill, a ffeithiau a brofant hefyd nad oes ond cadarn fraich cyfraith wladol, yn rhwystro i'w hoffeir-

iaid ddangos y cyffelyb sêl dderwyddol at y Saint yn Nghymru heddyw. Gweddiau ffyddiog y Saint a symudo y rhwystrau o ffordd yr efengyl.

YMFUDWYR I AUSTRALIA.—Trwy lythyr a dderbyniasom yn ddiweddar oddiwrth Wm. Howells, gynt o gwm Aberdâr, deallwn ei fod ef a'i deulu, ynghyd a'r Cymry ereill a gydgychwynasant, wedi cyrhaedd pen eu taith yn Castell Newydd, Australia, yn nechreu mis Hydref. Cwyna gryn lawer rhag yr erlidigaeth grefyddol a ddyoddefa yn mhob man: desgrifia y temtasiynau ag sydd ar ffordd y Saint i fyw yn dduwiol yn y wlad hono, braidd yn annorchfygol. Ni amcana aros yno ddim yn hwy nag y gall ennill digon i dalu ei ddyledion, ac i ymfudo oddiyno i Seion, lle y dymunasai yn fawr fod wedi myned.

Ysgrifena yr Henuriad Wm. Hyde, cenadwr arosol yno, ei fod ef wedi gweled y teuluoedd Cymreig yn fuan wedi eu tiriad i'r wlad, a dywed eu bod, gan mwyaf, wedi bod drwy gynnifer o brofedigaethau, nes yr oeddynt wedi colli Ysbryd Duw. Dyfynwn a ganlyn o'i lythyr, gan obeithio y bydd yn iachâd hollol i'r rhai sydd yn dyoddef arteithiau y "clefyd melyn," sef chwant aur!—"Os oes penau teuluoedd yn mhlith y Saint yn Nghymru, yn awyddus arw i'w meibion a'u merched fyned i uffern y ffordd agosaf, cynghoraf hwynt i barhau dyfod yn deuluoedd i Australia; a mwy na thebyg y cant y cysur cyn y diwedd o gael eu hunain wedi eu tirio yn yr hinsawdd boeth hono, fel gwobr am eu hannoethineb a'u hanufydd-dod."

Cynghora y Llywydd S. W. Richards, yn benderfynol, i'r Saint beidio myned y ffordd hono; eithr nid dim yn fwy felly nag yr ydym ninnau wedi ei ddweyd cyn hyn, ac hyderwn na fydd raid dweyd ychwaneg wrth neb o'r Saint, mai y ffordd i ddystryw ac nid y ffordd i Seion yw y ffordd yna.

YR ETHOLIAD I'R OFFEIRIADAETH.—Y pwnc hwn a ystyrir mor ddyddorol ag yw bwysig, yn neillduol gan y rhai a feddant gyfran o honi. Nid ei deimladau ei hun a ddywed ein medrus Lywydd—awdwr y traethawd; eithr cyrhaedda deimladau ei holl gyd-weision profiadol, debygwn. Ni cheisiwn ychwanegu ato, ond crefu sylw arno, a chyd-weithrediad â'r egwyddor a ddysga.

Y DUW A ADDOLIR.—Ymbwylled ein dosparthwyr ronyn, a chant a fynont o hono, gyda yr UDGORN nesaf, os bydd bosibl.

Yr Arweinydd i Seion.—Oedir ef, o herwydd i ni glywed y gwneir peth cyfnewidiad yn y daith dros y plains; dysgwyliwn fanylrwydd o hyny oddiwrth y ffordd fesurydd yn ol ei addewid; a gofalwn ei ddyfod allan yn brydlawn i'r ymfudwyr.

---

## ETHOLIAD I'R OFFEIRIADAETH A'I BWYSIGRWYDD.

GAN Y LLYWYDD, S. W. RICHARDS.

[Allan o'r "Star."]

Yn y tymmor hwn o'r flwyddyn, o herwydd yr Ymfudiad, gelwir llawer, ag y sydd i fesur mawr yn anghynnefin, i gymmeryd dyfnach gafael yn gwaith Duw, ac i ddwyn mwy cyfrifoldeb, nag y buont yn arferol a'i ddwyn. Yn yr holl alwadau hyn, y dynion hyny y dylid ymofyn ar eu hol, sydd a'r gwaith yn agos at eu calon, y rhai ydynt ddynion o gywirdeb a ffydd, a'r rhai ydynt yn gymhwys i'r gwaith at yr hwn eu gelwir. Ni ddylai y fath beth fod yn adnabyddus o fewn Eglwys Duw, a'r hyn a gyfenwir "ffafriaeth," yn y byd. Dylai ef y sydd ganddo awdurdod i alw ereill i swyddau, ymdrechu bob amser am ddewis y rhai hyny ag y dywedir wrtho gan ei farn a'i gydwybod eu bod yn gyfaddasaf i lenwi y sefyllfäoedd eu dewiswyd iddynt. Bydd i'r hwn sydd ostyngedig a ffyddlon gael Ysbryd Duw arno yn barhaus, i'w alluogi at ddirnad, mewn gradd, ysbrydoedd y rhai hyny y llywydda ef drostynt, ac i wybod i fesur eu cymhwysderau a'u doniau. Y mae yn hollol annheilwng o ddyn i gyflwyno swyddau, trwy ffafriaeth, ar y personau hyny ag ydynt yn anghyfaddas, tra y mae ereill wrth law ag ydynt yn llawer dewisach i, yn llawer galluocach at, ac yn llawer teilyngach o, y swyddau. Ni ddylai hyn byth gael ei wneyd ar unrhyw gyfrif. Buan y llygrai y fath ffordd unrhyw gyfundrefn hyd i'w gwir fywun. Gellir gweled digon o effeithiau y fath ddull yn y byd, i attal unrhyw un yn dal yr Offeiriadaeth rhag ei thrafnidio; oblegid nid yw ei chyfranu i rai a hoffir yn annheilwng yn ddim llai na'i thrafnidio. Gadawer i swydd-logiad a rhagfasgnachiad pleidiol gael ei gyfyngu i drefniadau beius y byd, i'r rhai y perthyn y fath ymddygiadau gwarthus yn naturiol. Dylent fod oll ynghyd yn anadnabyddus yn yr Offeiriadaeth santaidd,

ac yn nghyfansoddiad Eglwys Crist. Nid ydym yn gwybod fod yr Offeiriadaeth dan ein gofal gwyliadwrus ni yn euog mewn un modd o berthynas i hyn, eithr dichon na fydd gair o gynghor yn anmhrïodol, a dichon ysgatfydd y prawf yn air mewn pryd.

Dylai y rhai a elwir i swydd ddyfod i'r cyfryw yn nerth yr Hollalluog, gyda llawn benderfyniad i wneyd yr oll yn eu gallu at fawrhau eu galwad. Diammheuol y galwyd llawer yn rhai nâ ddysgwyliasant hyny ac yn rhai a feddyliant eu bod yn gwbl anaddas i ddwyn y cyfrifoldeb a osodwyd arnynt, ac yn hollol analluog i fawrhau eu galwad. Na fydded i'r cyfryw wangaloni. Mae lle i bob dyn yn Eglwys Duw, ac ni ddylai un dyn ymgilio oddiwrth unrhyw sefyllfa ei gelwir iddi, cyn iddo brofi pa un a all ef ei llenwi ai peidio. Ni ŵyr dyn pa sefyllfa a all ef ei chynnal, na pha gifrifoldeb a all ef ei ddwyn, hyd nes wedi profi ei hun, dan ddylanwad Ysbryd Duw. Ebe Paul—"Myfi a allaf wneuthur pob peth, trwy Crist yr hwn sydd yn fy nerthu i." Pe b'ai gan y Saint yr hyder hwn, ni byddai ond ychydig o gilio yn ol.

Dichon i Sant ddywedyd y teimla ef ei hun yn wanaf o fewn teyrnas Duw, ar annaddasaf i'w alw i unrhyw swydd o gyfrifoldeb. Digon tebyg mai hyn a all fod yr achos. Ac os oes dyn yn nheyrnas Duw ar y ddaear, yr hwn na theimlodd ei wendid a'i analluogrwydd ei hun, mae y dyn hwnw yn gweinyddu nid trwy allu yr Ysbryd Glân, ond trwy ei allu a'i nerth ei hunan; ac y mae gweinyddiadau y fath ddyn yn ddiallu er lies. A ydyw y Saint oll yn adgofio nad yw gwaith Duw yn cael ei ddwyn yn mlaen trwy allu a doethineb dyn, eithr trwy allu a doethineb ac Ysbryd Duw? "Nid trwy lu, ac nid trwy nerth, ond trwy fy ysbryd i, medd Arglwydd y lluoedd."

Mae y byd yn yr amser presennol yn enghraifft nodedig o wirionedd yr egwyddor hon. Am ddeunaw can mlynedd yr ymrwymodd gallu, dysgeidiaeth, talentau, ac hyawdledd y mwyaf o feibion dynion mewn cynnyg i bregethu yr Efengyl, adeiladu i fyny deyrnas Duw, a sefydlu cyfiawnder ar y ddaear. Gyda pha lwyddiant? Ah! Pa yn wir! Mwy cyfeiliornad, mwy dyryswch, a mwy drygioni. Yn y gwrthwyneb pa peth a gyflawnwyd gan yr Arglwydd, trwy ei was gwan a dirmygedig, Joseph, a'i ganlynwyr, yn ystod byr o dair ar hugain

mlynedd? Ah! dyma wrthgyferbyniad. Mwy goleuni, mwy Efengyl, mwy cariad, mwy undeb a chyssondeb yn mhlith pobl Duw. Dadguddiwyd llawer o egwyddorion gogoneddus, cyfranwyd llawer o wybodaeth i ddyn, adferwyd yr Efengyl i'r ddaear, a chyhoeddwyd hi i brif genedloedd dynolryw, a llawer o eneidiau a lawenychasant yn y goleuni, y doniau a'r bendithion perthynol iddi, ac ymgasglasant eu hunain oddiwrth y cenedloedd, i borotoi at ddyfodiad y Pryniawdwr mawr.

Y dynion a elwir i'r offeiriadaeth santaidd, ac a gynnelir gan ffydd ac hyder y bobl, ydynt yn llawer tebycach i weinyddu yngallu a nerth yr Ysbryd Glân, a bydd i'r bobl dderbyn llawer mwy bendithion dan eu gweinidogaeth, na phan y byddo yr achos fel arall. Mae y Saint yn gwybod eu dyledswydd mewn perthynas i hyn, ac yr ydym yn ymddiried mai eu huchelgais byth a fydd cynnal eu swyddogion, fel y caffo eu dwylaw eu cadarnhau, a'u gwneyd yn rymus i adeiladu i fyny y deyrnas, oblegid gwas Duw ydyw bywyd ac iachawdwriaeth y bobl os y derbyniant ei air a'i gynnal ef: megys y dywedodd yr Iesu am Ioan y Bedyddiwr,—"Os *chwychwi a'i* derbyniwch, hwn yw Elias, yr hwn oedd ar ddyfod."

Os y gelwir dyn, gellir ei olygu fel tystiolaeth, ddarfod i'r rhai sy drosto ei ystyried ef yn alluog i ddwyn cyfrifoldeb ei alwad. Pa ham yr ymgilia oddiwrthi? Ei ddyledswydd, yn gystadl a'i les, ydyw dal i fyny dan y baich, a'r Arglwydd Dduw yn ei nerthu. Ei unig wrthrych yw dwyn allan hyfforddiadau y rhai a leolwyd drosto ef, gyda symlrwydd calon. Ac y mae hyn yn beth haws nag a dybia llawer, pan ei dygir oddiamgylch mewn iawn ysbryd. Mae'r ffordd yn ymagor ar ddeheulaw, ac ar law aswy, o flaen yr anghynnefin, mae rhwystrau erchyll yn ymollwng gyda pharodrwydd, caniateir nerth yn mhob mynyd profedigaethus, a sicrheir llwyddiant o'r diwedd, pan fyddo y llygad yn sengl at ogoniant Duw. Pwy felly a betrusai? Neb, os parhant yn ddiwyd, yn llawn gweddi, ac yn wyliadwrus. Gan hyny gwneled pob dyn ei ddyledswydd, a safed yn y sefyllfa ei gosodir ynddi o amser i amser gan ymddiried ar nerth addawedig yr Hallalluog, a bydd yr oll yn wych, a'r Eglwys yn yr ynysoedd Prydeinig a gynnyddir mewn nifer, ffydd, a phob rhodd dda a pherffaith.

*Cyf.* ROBYN DDU, ERYRI.

## NEWYDDION EGLWYSIG TRAMOR.

*Dyfyniad o lythyr yr Henuriad S. A. Wooley, cenadwr yn yr India ddwyreinol.*

"GAN gynted ag y peidiodd y gwlaw, canys dechreuodd ar y boreu yr aethom i Marat, a pharhaodd am dri diwrnod heb beidio, dechreuasom ein gorchwyl, yr hyn oedd ceisio ffurfio rhyw gydnabyddiaeth, a chael tŷ i bregethu ynddo. Gwnaethom gydnabyddiaeth gyda rhai o'r gwyr anrhydeddus y sefyllfa, (gwladwyr), heblaw talu pob moesgarwch i'r swyddogion milwraidd a lywodraethant yma; llwyddasom i gael neuadd helaeth yn Ngwesty Marat: cyhoeddasom y dechreuem ein darlithiau ar brydnhawn penodol; ac hefyd, i brysuro y gorchwyl, galwasom ar uchgadben y fyddin, Waterfield, i gael dodi ein rhybydd yn Lyfr yr eirchion. Dywedai na welai ef un rheswm pa ham nad ellid ei wneyd, ond yr ysgrifenai at y milwriad Hathwaite, C. B. yr hwn yw y llywyddwr presennol, ac y cawsem wybod y prydnhawn. Yr oedd hyn ar y 13, o Hydref.

Daeth yr ateb yn gyfunol, nid yn unig dywedai na chaffai ein rhybydd ei ddodi ar Lyfr yr eirchion, ond na chanateid i ni bregethu yn y Gwesty, nag yn un lle o fewn y gwarchae, eithr cyfeiriodd ni at y swyddog Scott, C. B. yr hwn a ddechreuai lywyddu yma, ddydd Sadwrn 15ed.

Gan fod genym drefniad i, ac wedi rhoddi cyhoeddusrwydd o ddarlith y prydnhawn hwnw, aethom yn bersonol, ar foreu 14eg, at y milwriad Hathwaite, i weled a ganiateid i ni ddarlithio yr un tro hwnw, pan ein hysbysodd, mewn dull tra afrywiog, na wnai ef ganiatau.

Gan nad oedd tŷ a allem ei gael yr ochr allan i'r gwarchgau, gorfuwyd ni i adael y peth hyd nes y deuai y swyddog Scott, yn ol. Ymwelasom ag ef ar foreu yr 17, o'r mis hwn. Yr oedd hytrach yn fwy moesgar na'r milwriad Hathwaite, eithr dywedodd na ellid caniatau i ni ddarlithio o fewn y dalaeth, "oblegid," ebe fe, "ni ystyriwn mai cyfiawn at ein gweinidogion, a fyddai gadael i chwi bregethu yma, o herwydd talir iddynt hwy gan y llywodraeth i bregethu yn y dalaeth hon." Dywedodd hefyd i'r Esgob ysgrifenu ato i beidio gadael i ni bregethu mewn unrhyw sefydliad filwraidd; os cawsem dy yr

ochr allan, a phregethu dim yn anmharchus o'i olygiadau ef, yr erlidiai ef ni ymaith wrth flaen y bidogau; os gwelid ni yn siarad gyda neb o'r milwyr yn yr heolydd, y mynnai ein gyru allan, ac na chaniateid i ni fyrddio o fewn y lle; ac os clywai ef unrhyw beth yn ein herbyn, y mynnai ein gyru allan ar unwaith gyda gosgordd o anrhydedd. Gofynasom ganiatâd i ddyfod ger ei fron, fel y gallai glywed pob ochr, am mai dichon y dywedid celwyddau am danom. Dywedodd yntau na wnai hyny ddim gwahaniaeth, y mynnai ef ein herlid allan.

Yna gwnaethom ein goreu i gael ty yr ochr allan i'r lle, ond ni allem. Arosasom bump wythnos yno, ac aethom o dy i dy; eithr yr oedd pawb yn rhy brysur i allu gwrando arnom; dywedasant yn eglur nad oedd ganddynt hwy amser i siarad am unrhyw grefydd, ac nad oeddynt yn ewyllysio clywed; o ganlyniad yr unig beth arall i ni oedd, fel y dywedai y brodorion, *Juldy joo*, myned yn gyflym. Ym mhlith ereill ymwelasom a'r gweinidogion Mr. Tuson a Rottan. Dywedodd Mr. Tuson yn eglur yr arferai ef yr holl ddylanwad a feddai yn ein herbyn, ei fod ef wedi ei benodi a'i dalu gan lywodraeth Lloegr, am ddwyn eneidiau at Grist, ei fod yn wrthwynebus i unrhyw gymdeithas arall bregethu yno, ond dywedai nad oedd ganddo amser i siarad a ni, am ei fod yn rhy brysur, ac mewn ffaith nad oedd arno ef eisiau siarad a ni o gwbl.

Penododd Mr. Rottan, brydnhawn i ni fyned i'w dŷ a gweled ein gilydd. Da oedd genym y cyfleustra, nyni a aethom, a chawsom amser tra difyrus. Cydnabyddodd na wyddai ef ei alw gan Dduw, nag ei fod yn pregethu Efengyl Iesu Grist, ai peidio, ond credai ei fod mor agos ag anghenrheidiol, am y tybiai fod y doniau wedi darfod. Yr oedd ef yn rhesymol, a chan amlygu ysbryd da, penododd brydnhawn arall i ymddyddan yn mhellach.

Aethom trachefn yn yr amser penodedig, ond nid oedd gartref. Gan ein bod ar ymadael tranoeth, ac wedi rhoddi iddo fenthyg fy "*Voice of Warning*," yr oedd genym i alw arno y boreu nesaf. Dywedodd wrthym y pryd hyny iddo weled Mr. Wilkins, cennadwr, er pan welodd ni o'r blaen, yr hwn a'i hysbysodd pwy oedd Joseph Smith, a bod yr hyn a ddywedais i wrtho ef, (Mr. Rottan,) heb fod yn iawn (er fy mod yn adnabyddus a Joseph yn bersonol,) a rhybyddiodd ni i beidio a

phregethu yn ychwaneg. Dywedasom wrtho y gwyddom ni ein gorchwyl, yr adwaenem Joseph y Prophwyd, a'm bod i yn bersonol adnabyddus ag ef, ac y gwyddwn ei fod yn ddyn Duw. Hysbysodd Mr. Rottan, pan ei gwelsom y waith gyntaf, y fod Mr. Tuson wedi rhybyddio y Cadfridog Scott, os efe a ganiatai i ni bregethu y caffai drwbl. Offeiriaid Eglwys Loegr, yw y ddau hyn. Crynai gliniau Mr. Tuson, fel yr eiddo Belsassar gynt, gan ofn neu gynddaredd, tra y tystiolaethem wrtho ddwyfoldeb ein cenadwri, wrth ymadael."

## AMRYWIAETHAU, &c.

YMFUDIAD.—Hwyliodd y llong "*Windermere*," o Llynlleifiad ac ar ei bwrdd 482 o Saint ar eu ffordd i Seion: oll o tan arolygiaeth, yr Henuriad Daniel Carn, diweddar Lywydd y Gennadaeth Ellmynaidd, a chyd ag ef, yr oedd saith o Lywyddion Cynnadleddau Prydeinig yn dychwelyd yn fuddygoliaethus o faesydd eu llafur, gan gludo eu hysgubau i'r ysgubor, cyn y delo y gawod ddrycin i lawr. Yr Henuriad George C. Riser, yw yr olynydd llywyddol i'r Henuriad Carn, ac y mae gobeithion calonus o'i flaen.

☞ Hyderwn y caiff ein gohebydd B. J. y goleuni a ymofyna yn y traethawd "*Y Duw a addôlir*," yr hwn sydd yn yr UDGORN. Cyd dystia Llyfr Mormon yn y manau a noda â'r hyn a ddywed Paul, mai o herwydd ei Dduwdod ac nid o ran ei berson, y mae y Mab yn cael ei hunaniaethu a'r Tad—dau bersonau ond un Duw yw Efe a'i Dad; y Swedenborgers a gredant mai yr un person yw y ddau, yr hyn a ystyrir genym ni yn anmhosiblrwydd: tra mai gwahanol bersonau yn un Duw ydynt, a orfodir ar ein crediniaeth ni.

☞ Atebwn ofyniad ein gohebydd DIENW, drwy ddweyd mai gyda golwg ar Dduwdod ei Dad y gelwir Iesu Grist yn "Uniganedig Fab Duw, "yn ol y cnawd. "Myfi heddyw â'th GENEDLAIS," ebe Duw; tra mai mewn cylch arall, a than amgylchiadau hollol wahanol, ac o sylweddau gwahanol y cenedlwyd Cain, Abel, &c.

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14 CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 10.] MAWRTH 11, 1854. [CYF. VII.

### Y DIRYWIAD ANGHRISTAIDD.

GAN ROBYN DDU, ERYRI.

[Parhad o dud. 129]

RHWYSTR mawr, ar ffordd derbyn unrhyw wiredd dyeithr i'r meddwl, ydyw yr anhawsdra sydd mewn ceisio ymwrthod a hen dyb draddodiadol yr ymgynnefinwyd a hi, tra mai hawdd yw digio wrth y rhai a feiddiant ei gwrthsefyll; a dyna pa ham y cospwyd Galileo am ddywedyd fod y ddaear yn belen ymdroellog yn yr ëangder; a dyna oedd y cyffröad a barodd i'r bobl ladd Crist a'i apostolion, o herwydd pregethu mai Mab y Dyn yw y Messiah. Gwell gan rai, na chydnabod y dichon iddynt hwy gam ddeall unrhyw bwnc, yw ymffyrnigo yn hunanol fel Saint y byd yn nyddiau gweinidogaeth ein Hiachawdwr: y mae eu dysgeidiaeth hwy mor lawn o esboniad a thraddodiad, fel mai tirionach yw ymddygiad publicanod a phechaduriaid, na'r athrawon a ofynant a ydym yn eu dysgu *hwy*. Maethir a chwyddir eu coegfalchder, gan liaws eu dyscyblion, heb gofio mai y cyffelyb riaintyddiaeth sydd i'w poblogrwydd hwy ag i eiddo offeiriaid y gwledydd paganaidd, sef, dylyn dull eu tadau: ac ni ystyriant mai anwybodaeth y werin, am natur gynnyddol y deall dynol, sydd yn peri fod y bobl yn dïystyru gwr oblegid ei newidiad barn trwy dderbyn ychwaneg o addysg; mae penderfyniad barn am beth yn brawf, bob amser, y bod ei pherchenog naill ai yn *gwybod* y peth, neu, ynte, ei fod yn rhy ffol i gymmeryd ei hyfforddi mewn perthynas iddo.

Mae poblogrwydd rhai baldarddwyr, yn dwyn arian i'w llogell-au, trwy eu diwydrwydd i wneyd masgnach o air Duw. Pan ddywedodd dyn, wrth bleidiwr cymdeithasau elusengar, na allai weled buddioldeb y cyfryw sefydliadau, dododd y dyngarwr ddarn aur ar adnod, gan ofyn i'r dyn ei darllen; ond ni fedrai o herwydd fod y darn aur yn ei rwystro: a chan nad oes tâl blynyddol i'w gael am bregethu gyda y Saint, dichon fod y darnau aur, a geir mewn lleoedd ereill, yn dallu rhai gweision cyflog fel na fynant weled y gwirionedd sydd o fewn llawer adnod werthfawr. Tramgwyddir gwŷr y colegau, gan wladeiddrwydd y gweithwyr gonest, a bregethant yn debyg i'r pysgotwyr a fu gynt ar lan môr Galilëa: ond ni allant hwy ddirnad y dichon tystiolaeth yr Ysbryd, trwy enau yr annysgedig, beri i wladwr, mor afrosgo a gên asyn îr, fod yn ddigon miniog, yn llaw cryfder, i ladd mil o Philistiaid, yn bentwr ar bentwr, chwedl y CADBEN JONES.

Mae dynion yngafaelion hen dybiau cynnefinol, fel rhai wedi eu geni a'u dwyn i fyny mewn carchardŷ; y rhai er clywed y geiriau *allan tref, gwlad*, a *theyrnas*, ni wyddant eu hystyr, mwy nag y deall un a anwyd yn ddall, ystyr y gair lliw *gwyn*; eithr gan y dywedant eu bod yn gydwybodol, cymmwynas eu hysbysu, mai mor wir a bod dyn dan reolaeth cydwybod ydyw y bod cydwybod pob dyn o dan rëolaeth y peth a ystyrir ganddo ef yn uwch awdurdod na'i gydwybod. Hen awdurdod rymus, yn rheoleiddio cydwybod dyn, yw barn y werin, pe mor gyfeiliornus a thyb yr Ephesiaid am eu Diana. Gwyddir nad yw dilledyn mewn cŵd, a'r cŵd yn llaw pregethwr, yn un gronyn mwy pechadurus, na phe y cŵd yn llogell y pregethwr, a'r dilledyn ar ei fraich; er hyny, ar ei fraich y dewisiai ef y naill ac yn ei logell y llall ar y Sul, o herwydd barn y werin yw mai pechod iddo gludo sypyn ar y dydd hwnw; a barn y werin yw y rhwystr penaf, sydd yn attal i ddynion gredu mewn dadguddiad mor barhaus a pharhâd anghyfnewidioldeb y Duwdod tuag at ei Eglwys. Awdurdod nerthol arall, yn tarddu oddiar farn y blaid alluocaf mewn gwlad, ydyw cyfraith y tir; ac oblegid hyn y teimlai herw-helwr euogrwydd; er pe heb i gyfraith y tir ei wahardd, na feddyliasai ef druan fod un trosedd mewn lladd ysgyfarnog wyllt, heb unrhyw nôd perchenog neillduol ar ei chorff na'i chlustiau. Mae yr uwchawdurdodau

hyn, yn peri fod y wraig Indiaidd yn cymmeryd ei llosgi gyda chorff marw ei gwr, mor gydwybodol ag y ceidw Mohammed neu Babydd ei ympryd; yn peri fod y sect fanylaf yn erlid, mor gydwybodol ag y pregethai yr apostolion; ac yn peri fod pleidiau ymraniadol yr oes hon, yn gwadu adferiad y doniau ysbrydol, mor gydwybodol ag y dywed y Saint eu mwynheir ganddynt. Bellach, os ewyllysir i'r gydwybod gael ei rhëoleiddio mewn cywirdeb, ac nid yn y sêl nad yw yn ol gwybodaeth, y mae yn rhaid ei dwyn dan reoleiddiad goruwch-awdurdod cyfraith Duw; ond cyn y gellir hyny, rhaid credu ei rhoddwyd trwy ddadguddiad, oddiwrth y Bod sydd yn dangos ei gyfrinach i'w weision yn mhob oes, ac o dan bob goruchwyliaeth.

Fel na allai yr Apostolion, wneyd gwaith Duw yn eu hoes hwy, heb ddadguddiad o'i ewyllys, mwy nag y gallasâi y patrieirch a'r prophwydi ei wneyd, yn eu gwahanol oes hwythau; ac fel na all gweision presennol boneddwr, gyflawni ei waith ef, heb wybod ei ddymuniad, mwy nag y gallasai y gweision gynt ei gyflawni; felly, ni all neb ar y ddaear wneyd gwaith yr Arglwydd yn awr, os heb ddadguddiad o'i ewyllys mewn perthynas i'r genedlaeth hon, mwy nag y gallasai yr apostolion ei wneyd, heb ddadguddiad, yn eu hamser hwythau. Yr oedd gwybod cais y Meistr yn oleuni, ond y mae pob ymdrech, heb deall, yn dywyllwch nosawl; a'r Iesu, yn rhagweled y dirywiad, a ddywedodd, "Rhaid yw i mi weithio tra y mae yn ddydd; canys y mae y nos yn dyfod, yn yr hon ni ddichon neb weithio." Hauodd Ef had da yn ei faes, wrth oleuni dydd; eithr daeth ei elyn Ef, i hau efrau cyfeiliornadau yn y nos a'r dynion yn cysgu. Daeth yr amser na ddyoddefir athrawiaeth iachus, am fod clustiau dynion yn merwino: eithr yn ol eu chwantau, y pentyrant iddynt eu hunain athrawon; a'r rhai hyny bob amser yn dysgu, heb allu un amser ddyfod i *wybodaeth* o'r gwirionedd; y maent a'u serch arnynt eu hunain, yn ddiserch i'r rhai da, yn caru meluschwant yn fwy nag yn caru Duw, yn enllibaidd, a chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi.

Rhagwelodd Crist yr adferiad presennol hefyd, pan y dywedodd, "Gwyn eu byd y gweision hyny, y rhai a gaiff eu Harglwydd, pan ddel, yn neffro," ac yr ydym yn dywedyd y bod goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd wedi dyfod, oblegid y gwelir genym gyflawni yr addewid "Ar fy ngweision, ac ar fy

llawforwynion y tywalltaf o'm Hysbryd yn y dyddiau hyny: a hwy a prophwydant," &c., &c.

Dywedir yn Dat. xii. 5, 6. Y Cymmerwyd yr Offeiriadaeth santaidd i fyny at Dduw, ac y ffôdd yr Eglwys i'r diffaethwch, lle maent yn ei phorthi, 1260, o ddyddiau. Deall holl ddys-gedigion y sectau fod dydd y brophwydoliaeth yn gyfartal i flwyddyn Galdeaidd, 30 dydd y mis; a chan gyssylltu 606, blwyddyn rhoddiad y titl Pab, wrth nifer dyddiau fföad yr Eglwys i'r diffaethwch, ysgrifenasant y dechreuir difodi Llyw-odraeth y Pab yn 1866. Dywedai John Wesley, ac ereill, y diflanodd y doniau gwyrthiol yn y flwyddyn 567; a chan ychwanegu hyny at 1260, coelient yr adferid hwy yn 1827, eithr y mwyafrif o'r duwinyddion a ddywedant mai yn 570, y diflanasant; ac felly, mai yn 1830 y dychwelid hwy yn ol, ac y dechreuai ymgasgliad yr Eglwys y flwyddyn hono. Yn awr, onid rhyfedd mai yn y flwyddyn 1827, y dywedai bachgen pymtheng mlwydd ei oedran, ynghoedwigoedd America, i angel ehedeg ynghanol y nef, a'r Efengyl dragywyddol ganddo? Ac nid llai rhyfedd chwaith, mai yn 1830. ar y 6 dydd yn mis Ebrill, y sefydlwyd Eglwys Iesu Grist, o Saint y Dyddiau Diweddaf, trwy i ddynion gael y cyffelyb weledigaeth; i ereill eu credu; ac i'r credinwyr, o'r dydd hwnw hyd heddyw, ddy-fod i wybod fod y bachgen Americanaidd yn broffwyd i'r Gor-uchaf, o herwydd y derbyniasant y bendithion hyny, yr addawodd efe eu derbynid gan yr oll a ufyddhäont i'r Efengyl. Pa fodd y dichon i'r sectau fod yn unol a hwy eu hunain, a gwadu adferiad y doniau hyn, megys ag y dywedasant ar gyhoedd, sydd fwy nag a allant ei esbonio byth, er campused ydynt yn y gelfyddyd ariangeisiol.

Dr. Palley, yn ei *Evidence of Christianity*, sydd yn dywedyd fod llythyrau Paul, at y Saint yn Corinth, yn profi fod y don-iau ganddynt yno; pe amgen, y buasai ei gyfeiriad pendant at y doniau, yn y cyfryw Lythyrau, yn dangos iddynt nad oedd waeth ganddo beth a ddywedai, ac y dodasai ef ei hun felly yn yn eu gallu, i'w gyhoeddi ef yn llythyrwr celwyddog. Pe y cyhoeddasai y Saint, trwy Gymru, fod y doniau ysbrydol mor bell a'r America, cawsid rhyw esgus tros gymmeryd pwyll cyn eu credu: ond gan yr Argraffwn, yngwyddfod y wlad, y mwyn-heir y doniau hyn yn mhob lle a Saint ynddo yn Nghymru,

fel yn y gwledydd ereill; a chan fod rhai o'r Saint wrth law, i'w holi ac i'w croesholi am y gwirionedd o fod y doniau Ysbrydol i'w teimlo, i'w clywed, ac i'w gweled yn ein plith yn feunyddiol, rhaid yw i hyd y nod ein gelynion gyfaddef, fod hyn naill ai yn dangos yr ynfydrwydd o roddi yn ngallu y miloedd Saint i gyfodi a chyhoeddi mai anwiredd y cyfan, neu ynte, y teimlir nerth i argraffu a lledaenu y gwirionedd, oblegid llïosogrwydd y tystion byw a pharod i gadarnhau y dywediad. Ac heblaw hynyna, mae yr Ysgrifenydd yn addaw, a hyny yn enw yr Arglwydd, i'r holl rai a ufyddhäont i'r Efengyl, ac y gweinydder ei *holl* ordinhadau iddynt gan weision awdurdodedig Duw yn yr Eglwys hon, y caiff pob gonest ei galon o honynt, trwy gadw holl orchymynion yr Arglwydd, *wybod* y gwirionedd, megys ag y cafodd yntau: canys, y mae yr achos a'r effaith, y dadguddiadau dwyfol a'r unoliaeth eglwysig, yn gyfryw y gellir dywedyd mor gadarnhäol yn awr, ag yn nyddiau Peter, Iago, ac Ioan, mai hon ydyw Eglwys Iesu Grist.

*(I'w barhau.)*

---

## CAIS I DDEONGLI Y DDAMMEG O "SIARAD PLANT,"

*Yr hon a ymddangosodd yn y 7fed Rifyn, tud.* 113.

DEALLWN wrth yr ymrafael rhwng Moses a Deio, fod yr olaf wedi cyrhaedd oedran i allu amgyffred y pwnc yn wirioneddol; tra nad oedd Moses ond dan draddodiad ei rieni, a'r rhai hyny megys yn oedi egluro y pwnc, o herwydd ei fod yn analluog i ddeall yr egwyddor, yr hyn a ymddengys yn ddoethach na phe buasent yn egluro cyfran iddo y pryd hyny; etto, gwyddent yn eithaf da y deuai i wybod. Credaf mai Deio a ennillodd, a chaniatâu i Moses fyw i oedran megys Deio; a'r pryd hyny gallai ddweyd yr wyf yn gwybod mai Deio sydd yn iawn. Nid oedd hyny yn peri iddo golli ei ymddiried yn ei rieni, ond yn hytrach fel arall, gan gydnabod eu bod wedi ymddwyn yn ddoeth yn hyny.

Dysgwn oddiwrth hyn, fod Duw yn llefaru wrth ei blant yn gyffelyb i fel y gwna rhieni Moses bach ag yntau, tra y byddent dan oedran i ddeall y gwirionedd ynghylch rhyw egwyddorion. Rhai a feddyliant fod egwyddorion yr eglwys yn yr amser pre-

sennol, ychydig yn wahanol i'r hyn a feddyliasent eu bod; megys, mewn perthynas i gynfodoldeb Dyn, cyn sylfaenu y byd; am ei genedliad o Dad, a'i eni o fam yn y nefoedd; anhawdd ywi resymau cadarn dros y pwnc orchfygu hen draddodiad. Felly y mae mewn perthynas i greadigaeth Dyn o bridd y ddaear hefyd. Ond, feallai fod "siarad plant" wedi bod gyda y pethau hyn, ag fod Duw yn yr oruchwyliaeth ddiweddaf yn llefaru yn fwy eglurhaol, gan ei fod yn "adferyd pob peth;" os nad felly, paham yr ewyllysiodd llawer o'r hen brophwydi fyw ynddi?

Os na tharawais yr hoel ar ei chlopa cymmered arall y mwrthwyl a threied ei law, yw dymuniad

Eich gohebydd,

*Dyffryn Conwy.* WILLIAM DAVIES.

---

CYNNYG ARALL.

Mr Golygydd,—Ar ol hir bwslo fy mhen am ddeongliad i eich Dammeg o "Siarad Plant," yn nhud.113 o'r UDGORN, fel yr oeddwn yn darllen yr ail bennod o lyfr Genesis, ac yn neillduol y 7fed adnod, sibrwdodd rhywbeth yn fy nghlust:—dyna, dyna i ti allwedd y ddammeg "siarad plant!" Darllenais hi drachefn, ac wed'yn, a chymharais y naill wrth y llall, ac yn fy myw ni allaf wella yr allwedd: os camsynied wyf, da chwi argyhoeddwch chwi neu rai o'ch gohebwyr fi drwy yr UDGORN,

Yw dymuniad ewyllysiwr da i'ch HUDGORN,

J. D. J.

---

# CENFIGEN.

GAN JOHN JAQUES.

"At genfigen y mae chwant yr ysbryd a gartrefa ynom ni." IAGO iv, 5.

NI lefarwyd erioed eiriau mwy gwirioneddol na'r uchod. Prawf ymarferiad bob dydd, mai un o'r gorchwylion anhawddaf a berthyn i hunan-lywodraeth ydyw cadw y galon yn rhydd oddiwrth deimladau cenfigenllyd. Bydded i gydnabyddiaeth, cymmydog, neu hyd y nôd i gyfaill dyn, ennill elw, ffafr, neu fendith, a bydd i deimladau o genfigen ymdrechu effeithio mynedfa i fonwes y dyn hwnw yn uniongyrchol. Y mae yn rhyfeddu pa ham na ffafriwyd yntau, os nad yn lle, o leiaf gystadl a'i gydymaith; pa

ham y dewiswyd arall ac nid ei hunan, nis gall amgyffred. Ac oddigerth i un sefyll yn benderfynol a chyda chyflymdra yn erbyn y teimladau hyn, nid yw eu canlyniadau o'r fath hyfrydaf. A dynion ag ydynt mewn modd arall yn dra daionus, a'i canfyddant yn beth anhawddaf, cynnal meddwl tawel dan y fath amgylchiadau.

Nid yw y teimladau cenfigenllyd hyn at lwyddiant arall ychwaith yn neillduol i'r bydol-ddyn. Ymwthiant ar dro i blith y Saint, a rhy fynych eu llochesir ac eu hannogir, yn lle eu bod yn ddiattreg ac heb ddefod yn eu bwrw allan. Yn wir, gallai un feddwl weithiau fod cenfigen yn fwy ar ei oruchafiaeth yn mhlith llawer o Saint nag ydyw yn y byd. Ni ddylai fod felly, oblegid y mae hyn yn cloddio dan sylfaen pob teimlad daionus, ac yn dinystrio y cyssondeb a'r undeb hwnw a ddylai bob amser nodweddu Saint Duw. Paham y teimlai unrhyw sant yn ddrwg, neu y meddiannai ef y teimlad caled lleiaf yn codi o'i fewn, o herwydd i'w frawd gyrhaedd sefyllfa ennillfawr, neu y penodwyd ef i swydd o gyfrifoldeb yn yr Eglwys? Oni ddylai y Sant yn hytrach lawenhau gyda'i frawd yn ei ddyrchafiad i aurhydedd? Byddai hyn yn debycach i ddwyn yn mlaen gynghor y cyn apostol—" mewn addfwynder meddwl bydded i bob un ystyried arall yn well na'i hunan." A yw sant mewn colled trwy lwyddiant ei frawd? Nag ydyw yn sicr, mae colled allan o'r gofyniad. Ennill i un sant gwirioneddol, sydd ennill i'r holl Saint gwirioneddol, canys y maent oll yn aelodau o un corff, a dylent oll dderbyn o un ysbryd.

Digwydd yn achlysurol fod pobl yn y byd yn gallu gwneyd gorchwyl-drefniant tra llwyddiannus, ac nid oes sylw yn cael ei gymmeryd o hyny gan y Saint, tra os cyferfydd brawd gydag ond un bedwaredd ran o lwyddiant y bydol ddynion, nid y pethau pertiaf a gylchanfonir o barthed iddo, gan ei frodyr a'i chwiorydd hefyd. Pa fodd yr edrych hyn yngoleuni yr Efengyl? Nid canmoladwy mewn un modd, bid sicraf. Y Saint a roddant eu ffordd i'r fath deimladau anghlodfawr, ac anghristionogol, nid ydynt yn arddangos ysbryd yr Efengyl, ond y goleuni ag y sydd yn y fath Saint a ddaw gyda brys yn dywyllwch, oddigerth iddynt edifarhau, a gwellhau eu ffyrdd.

Teimla un brawd ei hun oll yn wyrdraws, o herwydd y dewiswyd *teulu* penodol yn ei Gangen i ymfudo gan Drysorfa y

Gymdeithas Ymfudol Barhaus, tra yr ystyria ef deulu arall y medrai ef ei enwi, yn llawer mwy dewisol a theilwng. Pe byddai ganddo ef ddosparthiad y Drysorfa, neu ddewisiad o'r Ymfudwyr, ymddygai ef yn hollol wrthwyneb i fel yr ymddygodd ei frodyr mewn gallu. Dïammheuol y gwnelai. Y mae yn ffaith hynod y bodola bob amser ddosparth o ddynion a fedrant drefnu pethau yn ddiderfyn well nag y gwna y rhai hyny ag y sydd mewn swydd. Ac y mae yn ffaith ganlynol fod y trefnwyr hyfedr hyn bob amser allan o swydd. Ond nid y rhai hyn ydynt y drygau gwaethaf. Mae y grwgnachwyr yma yn dinystrio hyder, a phan ddistrywir ymddiriediad palla yr undeb ymdrech mewn gradd gyfatebol, ac fel hyn tyf y drwg yn ddyfnach ac ëangach. Ni byddai y tu allan i'r gwir, ddywedyd, fod dylanwad un grwgnachwr a'i duedd i wneyd mwy ddengwaith o niwed nag ydyw y cyfeiliornad mewn barn, a wneir yn esgus tros rwgnach, a chaniatau fod ynddo y cyfryw gyfeiliornad.

Yn lle cenfigenu wrth frawd, neu ymfoddhau mewn athrodi ar ei draul, llawer adderchocach a fyddai ceisio ei lesoli, trwy gydlawenhau ag ef yn ei lwyddiant, a chydymdeimlo ag ef yn ei ffaeledd. Byddai y fath agwedd ddengmil o weithiau yn well na rhoddi ffordd i deimladau cenfigenllyd, ac i oerni a diffyg ymddiried canlynol o hyny. Dylid gwarchod yn erbyn y pethau hyn gyda phob dyfalwch. Dylai dysgwyliadau a hawddfyd ein brawd fod an anwylaidd genym ni, dylid gofalu am beidio gwneyd unrhyw beth i'w hanafu, a dylid bob amser wrthwynebu unrhyw deimladau o genfigen a ddichon godi yn ein monwesau; oblegid, "o flaen cenfigen pwy a saif?" Pan ganfyddom ysbryd o'r rhywogaeth yma, dylem yn uniongyrchol ei ddodi o dan ein traed.

Pan yr achoso llwyddiant brawd i genfigen godi yn monwes sant, byddai yn burion iddo chwilio ei hun, a dwyn ei feddwl i siriol ymddarostwng i gyfyngder cyfatebol ac uniongyrchol. Os gall ef wneyd hyn, ni bydd ef mewn cymmaint perygl oddiwrth genfigen ynddo ei hunan. Eithr os na symudir ei deimladau cenfigenllyd gan y dull yna, efe a all ymdrechu gwneyd rhyw ddaioni pendant i'w frawd llwyddiannus, gan fod yn benderfynol i siarad yn dda am dano, ac felly barhau mewn gwneyd daioni, hyd nes i feddyliau da, gweithrediadau da, a theimladau da ennill y fuddugoliaeth.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MAWRTH 11, 1854.

Dywenydd genym allu difyru ein darllenwyr, ynghyd a holl ewyllyswyr da i grefydd Crist, drwy udganiad wythnosol ein Hudgorn, yn dynodi ei buddugoliaethau campus;—ein llais y tro hwn hefyd yw,—yn mlaen, yn mlaen, gyd-filwyr i'r frwydr;—yn mlaen mae ein Hudgorn etto yn galw; yn mlaen, ebe llu o ddewr filwyr Iesu sydd ar y maes yn ennill tir o gam i gam yn mhob cwr o'r byd. Yn mlaen mae y Brenin ei hunan! yn mlaen fyddo arwyddair yr oll a ddysgwyliant gydag Ef deyrnasu! Er echrysloned rhuthr yr wrthblaid—er eu rhif; ïe, pe deuent fel cenfaint o wlad annwn, y mae mwy o'n plaid, a buddugoliaeth yn ddiammheuol. Tra y mae sôn am ryfeloedd, trwst arfau, a lleisiad udgyrn pob gwlad, yn galw ei thrigolion i ryfel dur, pylor, a phlwm; a thra y britha y banerau eu llygaid wrth arwain eu miloedd yn mlaen, a thra y darperir i waghau ein byd o'i drigolion; anamserol yw i filwyr Iesu hepian na digaloni: eu hannog, eu *cymhell*, eu SYMBYLU i fwy diwydrwydd a ddylai yr holl ffeithiau cythryblus hyn ei wneyd.

Arfau milwriaeth y Saint nid ydynt gnawdol, ond ysbrydol a nerthol trwy arddeliad eu Duw, i wneyd pob campwaith a ddymunant. Arfau y byd i ddinystrio eu gilydd, angeuol ydynt; eu harfau yn erbyn teyrnas ein Duw, anwireddau y'nt, wedi eu plethu, eu gwau, a'u clymu yn areithiau, caneuon, traethodau, ac yn mhob dull a allant ddyfeisio; ac o bob tŵr ergydiant eu saethau; ond, rhyfedd mor ddirym! Tra i'w gwrthsefyll, pe lloned byd o honynt, a phob un yn Goliath, fel Dafydd a'i ffon dafl, y Saint, yn galonog a ânt, wedi ymwisgo â tharian y wir ffydd—helm yr iachawdwriaeth fawr,—cleddyf dau finiog yr Ysbryd Hollalluog. Tra yn ffyddiog filwrio o blaid ei deyrnas Ef, nid oes a'u lluddias; er y—

Geilw'r gelyn am ei athrod,
Galwed ef, ac am ei dân;

Tra mae Brenin nef yn galw,
Rhaid i'r Sant yw myn'd yn mla'n.

Tra yn *byw* eu crefydd, anffaeledig ydynt; tra na all eu gelynion edliw iddynt eu *pechodau eu hunain*, yn ofer yr edliwiant bob peth arall. Yr hwn sydd yn caru gweled llwyddiant ein crefydd, dangosa hyny po fwyaf yr ymdrecha i gael gan ei phroffeswyr gydymffurfio â'i gofyniadau dwyfol hi. Ei ffyddlon ufyddion yn unig a lesolir gan idi, tra ei phroffeswyr anufydd, hi a'u condemnia. Nid lliosogrwydd nifer, ond lliosogrwydd gweithredoedd da—nid pa nifer a fedyddiwyd yn unig, ond pa nifer a ennillwyd i gadw holl gyfraith Duw, yw testun ein hymffrost parhaus; y sawl ni wnant yr olaf, nid oes ganddynt hawl i, ac o ganlyniad, na fydded iddynt aelodaeth ddim hwy nag y profant hyny. Tra y llawenhawn yn fawr yn nychweliad y cyfrgolledig ag ydynt wrth y degau yn dyfod mewn rhai manau, etto mwy llawen genym weled argoelion o'u hymroad i ryngu bodd Duw trwy eu duwioldeb:—tra y dymunem argraffu y pwysigrwydd o achub pob enaid a ddymuna achub ei hun, ar feddyliau y Llywyddion yn enwedigol; etto, ni fynem iddynt anghofio cyfiawnder Duw, nac i adael i'w reolau dyscyblaethol Ef gael eu sathru o dan eu traed. Mae penderfyniad Llywyddion y Gynnadledd hon, i ymweled â'r holl rai llesg o dan eu gofal, a'u gosod yn ddiesgus y naill ffordd neu y llall, erbyn y Gymmanfa nesaf, yn ganmoladwy ac yn deilwng o efelychiad. Chwyner y cangenau, nid *cyn* ond mor fuan ag y gwybyddir eu bod *wedi* cwbl farw, ac na fynant ymfywhau; ac felly, bydd gwlith bendith y nefoedd yn gawodydd mwyneiddiol yn gwyrddlasu ein pren dwyfol, a'i addasu i ddwyn ffrwythau mor anfarwol ag eiddo "Pren y Bywyd."

---

Newyddion Cartrefol.—Dwyreiniol Morganwg—Dyddorol yr ystyria ein cyd-weision yn y winllan, y newyddion a'r penderfyniad a ddarllenir yn hanes y "Cynghor Cynnadleddol" yn Merthyr, yn y rhifyn hwn, ac hyderwn y gellir dweyd yn gyffelyb am bob Cynnadledd cyn hir. Mawr a diwyd yw llafur ein cymmodol Gynghorydd Daniels, i gymmodi a bywiogi yn y Gynnadledd hon; mawr rwymau sydd ar y Saint i ddiolch i Dduw am fendithio ei ymdrechiadau diflino,—mwy-fwy o nerth a gaffo efe, a'n hanwyl gyd-weithwyr ereill: gwir

awydd calon y rhai yw llesiant pawb, a llwyddiant gwaith y Gwaredwr.

Cyn. Caerfyrddin.—Ysgrifena y Llywydd eu bod hwy oll yn unfrydol i wneyd eu goreu i gario gwaith Duw yn mlaen; a bod y fath fawr syched arnynt i fwynhau mwy o effeithiau melysaidd eu crefydd, fel y cydunasant i ymprydio a dyfal weddio, heblaw byw yn deilwng o'u galwedigaeth nefol i'r dyben hyny, ac i fwynhau mwy o'r doniau ysbrydol yn eu plith. Y Cyfranwr grasol a'u diwallo;—efelycher hwynt; ac oddiar sail ei gyfraniad o'r doniau nefolaidd i amryw gangenau ereill, fel tâl am y cyffelyb daerineb, calonogwn y Saint obeithio yn ffyddiog am y cyffelyb fendithion.

Penfro Ddeheuol.—Bu Cymmanfa y Gynnadledd hon yn Monkton, Chwefror 19. Cafwyd y cynnrychioliad fel y canlyn:—Rhif y Cangenau, 13; Hen. 28; Off. 6; Ath. 6; Diac. 8; Aelodau, 150.—Cyfanrif, 228. Bed. 6; Ymf. 7. Da genym ddeall drwy lythyr y Llywydd Price, fod y fath undeb, cariad, a llawenydd yn mhlith y Saint, ac hyderwn y bydd eu hufydd-dod i'r cynghorion a'r ddysgeidiaeth a gawsant, gynnyddu eu teimladau dedwyddol, ac y cyd-weithiant oll i fyned â thraethodau oddiamgylch, fel eu dysgwyd, ac hyderwn y cawn sylw buan a theilwng holl Lywyddion Cynnadleddau drwy y Dywysogaeth, at y ffordd ragorol hon o ledaenu yr "argraffedig air."

Gwynedd.—Ysgrifena yr Henuriad Jeremy, o Landdoged, Chwefror 25, lawer o newyddion da am lwyddiant yr efengyl —amryw fedyddiadau mewn gwahanol fanau, ac Ysbryd yr Arglwydd yn nerthol weithio yn y Saint i dduwioldeb, ac yn y Cymmanfaoedd yn neillduol, i orfoleddu yn eu breintiau;—addunedau aml, ac argoelion gobeithiol am y tymmor dyfodol.

---

Y Taliadau am Lyfrau.—Na phared ymdrechiadau teilwng y Llywyddion o barthed i adfywiad y Saint, na lledaeniad yr efengyl, na dim arall, iddynt esgeuluso nac anghofio talu am y llyfrau yn hollol. Nid oeddem yn meddwl hyd yn hyn y buasai eisieu dweyd wrthynt fod argraffu llyfrau yn costio arian! credasom yn y misoedd mynedol y buasent yn cofio wrth weled rhifynau o'r Udgorn yn dyfod allan heb ddangosiad o dderbyniad ceiniog o arian o unrhyw fan yn y

cyfamser; do, credasom y buasai gweled cyn lleied o dderbyniadau yn y rhifynau ereill, ac yn enwedig dan yr ystyriaeth mai *dechreu* gorchwyl costfawr, o dan anfantesion mawrion yr y'm, yn ddigon i gywilyddio pawb ag y perthyna, i sylwi mwy ar y gwall hwn ac i'w *wella* heb hyn o awgrymiad; eithr wedi dyoddef cyhyd, gwelwn ein siomi. Yngwyneb yr ystyriaeth o'r hen ddyled sydd yn sefyll ar y mwyrif o'r Cynnadleddau er y llynedd, ac yn ol fel y dechreuir eleni, oni arswyda rhai rhag gweled eu dyledion yn ngoleu haul cyn diwedd y flwyddyn. Yn awr yw'r amser i'w wylied ynte, cyn yr elo yn anfeddyginiaethol, nag yn faich. Yngwyneb y gyfraith sefydlog, sef "nad yw y llyfrau i'w gwerthu ond am arian parod," methwn a dirnad yn mha Fank y cedwir yr arian llyfrau, a ddylent dreiglo ffordd hyn bellach! Ni wyddom am neb o Fenni i Fôn sydd a mwy o'u hanghen, nac yn deilyngach o honynt nag y'm NI fach! Frodyr, beth yw'r mater? paham na ddo'nt? Beth meddwch yngwyneb y ffaith y fod gwerth yn agos i £70 wedi myned o'r Swyddfa hon eleni, heb ond tuag £20 o arian wedi cael eu talu am danynt o Gymru i gyd!! Mae hyn yn ddiffygiol o tua £50 mewn dau fis! Yn ol hyn cynnyddai y ddyled am lyfrau tua £300 erbyn diwedd y flwyddyn hon! Gato pawb, ymswyner rhag y meddylddrych!

---

## CYNGHOR CYNNADLEDDOL.

*Nos Fawrth, Chwefror* 12, 1854.

LLYWYDDWYD, gan y Llywydd D. Jones; ac wedi canu Hymn, gweddiodd yr Henuriad Daniel Daniels.

Y Llywydd, wedi iddo grybwyll am y teimladau dymunol a roddai hyfrydwch iddo pan yn cyfarfod a brodyr a chyd-swyddogion mewn Cynghor, a dywedyd fod ymadroddion y brodyr a'r offeiriadaeth ganddynt, wrth amlygu eu teimladau mewn cyfarfodydd o'r natur yma, yn rhagori ar a geir mewn un man arall, a alwodd ar Lywyddion y gwahanol Gangenau i fynegi ansawdd eu sefyllfäoedd, gan obeithio y bod yr oll a ddaethant ynghyd yn teimlo pwysigrwydd gwaith yr Arglwydd.

*Cangen Merthyr.* Henuriad Thomas Rees, a hysbysai fod y Gangen hon ar gynnydd a gwelliant mewn pob ystyriaeth; dychwelodd 22, a bedyddiwyd un, er amser y cynghor blaenorol; a cheir braidd yr oll o'r aelodau mewn teimladau daionus.

*Georgetown.* Henuriad Thomas Evans, a fynegodd fod adfyw-

iad yma; ac at y rhai a ddychwelasant yn flaenorol, ddarfod i un swyddog, a 17 aelodau ddychwelyd er y cynghor cyn hwn; mawr yw ei lawewydd ef, fel yr oll yn y cyfarfod, yn herwydd yr argoelion dymunol sydd o lwyddiant ar y gwaith o achub eneidiau anfarwol.

*Ffynon Tydfil.* Henuriad David John, a deimlai yn llawen am fod, oddigerth un neu ddau, yr oll mewn undeb cariad a chydweithrediad. Dychwelodd rhai yn ol yma.

*Ynysgau.* Henuriad John Andrews, a ddywedai fod yr oll o'r Saint a'r swyddogion mewn ysbryd rhagorol, ac yn dyfod i'r cyfarfodydd yn llawer lliosocach a chyssonach nag y buont arferol a dyfod er ys gryn amser; y bod hefyd amryw ddyeithriaid yn rhoddi eu presennoldeb ynghyfarfodydd y Saint, megys ag yn y cyfarfodydd pregethu.

*Cefn-coed-cymmer.* Henuriad Edward Williams, a deimlai yn siriol, am fod y swyddogion a'r Saint yn byw mor agos i'w lle; dychwelodd 3, er y cynghor o'r blaen, ac yr oedd un i gael ei fedyddio y noswaith hono.

*Pendaren.*—Henuriad David Morgan, oedd fel y brodyr oll, yn llawenhau o herwydd yr arwyddion daionus a geir yn y gangen hon; mae y llesg yn ymgryfhau, y Saint yn eu lle, a'r doniau ysbrydol ganddynt i'w mwynhau,

*Gwernllwyn.*—Henuriad Evan Thomas, a ddywedai fod 2 wedi eu hadferyd, y swyddogion sydd yn eu lle ydynt dda hynod, a'r oll mewn undeb bywiog a serchog.

*Dowlais.*—Hennriad Thomes Davies, a deimlai yn llon o herwydd yr adfywiad sydd trwy y dosparthiadau, ac oblegid yr undeb brawdol sy rhwng y Saint.

*Rhumney Cymraeg.*—HenuriadThomas Paynter, a hysbysai eu bod yn hyfryd yno.

*Twyn Carno.*—Henuriad Jeremiah Price, mae yr oll yn eu lle, a phregethir allan yn ddiwyd.

*Rhumney Saesneg.*—Henuriad George Adams, mae yma undeb cariad a bedyddiwyd un, er y cynghor blaenorol.

*Troedyrhiw.*—Henuriad Thomas Owen, y swyddogion a'r Saint yn eu lle oll, cyfarfodydd hyfryd, argoelion amlwg o lwyddiant, a 7 wedi eu hadferu er y cyngor o'r blaen a fu yma.

*Y Llywydd D. Jones.*—Diammheuol fod y newyddion yn enyn llawenydd yn mhawb o honom. Mae ynwyf flys troi yn brydydd, neu wella gwaith hen brydydd, fel hyn:—

"Sôn am *wella* glywir yma,
Sôn am *wella* glywir draw,—
Sôn am *wella* fydd yn mhobman,
Fel yn Merthyr maes o law."

Ac, ond cael pob peth i'w le yma, gellir dysgwyl am adfywiad ac adferiad trwy Gymru oll yn fuan; mae llawer yn ymddibynu ar ein buchedd a'n diwydrwydd ni, tuag at ddwyn adferiad cyffredinol oddiamgylch; eithr i Dduw y byddo yr holl ddiolch am y

daioni mawr a wnaeth Ef ynom a thrwyddom eisioes. Mae llawer o le i ni weithio, a bydded i ni gydymdrechu am lwyddiant yn yr amser dyfodol: ac i'r dyben hyny, gofalwn am i ni, bob un droi yn ei gylch ei hunan, gan feddiannu cariad. undeb, a chydweithrediad o lwyr fryd calon.

Ymegnïwn am gael y cangenau oll i'w lle; ac, ond i ni gael yr holl swyddogion a Saint i'w lle, bydd genym fan addas i'r byd ddyfod i fewn iddo. Ein mawr ymdrech a fyddo am gael i mewn y rhai sydd wedi myned allan; y mae ganddynt fwy cyfrifoldeb i'w ateb, na y rhai na dderbyniasant y rhodd nefol; ac o ganlyniad, dylem deimlo yn ddwysach o'u herwydd, mewn cyferbyniad i echryslonrwydd eu sefyllfa.

Ymegnïwn hefyd, mewn cyssylltiad a'r gwahanol gasgliadau sydd eisoes wedi eu gosod ger ein bron.

Yr ydym am gael cylch pregethu, ac y mae angen swyddogion i'w lenwi. Na adawer lle i rwgnach drwy i'r llywyddion cangenau gymmeryd i fyny yr amser a ddylid ei roddi i'r brodyr yn y cylch i siarad; ymdrecher am ganiatau cyfleustra i'r brodyr.

Yma, arwyddodd y brodyr yn unfrydol eu boddlonrwydd i fyned i'r cylch pregethu,

Dywedai y Llywydd yn mhellach, fod y llywodraeth wladol, tra yn curo i fyny am wirfoddiaid i'r fyddin a thra yn danfon milwyr i ryfel, yn gofalu hefyd am warchodwyr cartrefol; ac mai yn yr un modd y dylem ninnau, osod y Dysgawdwyr a'r Diaconiaid, i edrych ar ol y cangenau eglwysig, tra yr Henuriaid allan yn pregethu, oddigerth yr Henuriaid a fyddont gartref o herwydd eu henaint a'u methiantrwydd. Fel y mae newid ymborth yn lles i gyrff, felly y bydd newid doniau swyddogion i feddyliau dynion: ac ond i ni fyned allan wedi ein gwisgo yn holl arfogaeth Duw, troir y fuddugoliaeth i ni yn sicr. Eithr rhag bod un dyryswch, gwell i naill a'i llywydd, neu ynte Gynghorwr, yn mhob cangen gael ei ryddhau o'r cylch pregethu, ac aros gartref i gadw pob peth mewn trefn.

---

## ARWYDDION YR AMSERAU.

Parhau i guro i fyny am wyr i'r fyddin, a chofrestru morwyr i'r llynges sydd trwy y deyrnas gyfunol. Cychwynodd amryw gatrodau o arfogion eisioes tua Twrci, ynghanol bonllefau trigolion Llundain, a llawen floedd pobl y lleoedd ereill yr ymdeithiasant trwyddynt. Bydd oddeutu 20.000 o wyr wedi eu danfon i faes y laddfa, erbyn canol y mis presennol; a thybir na bydd ond brwydro trwyadl ar dir a dwfr y pryd hyny. Teithiodd milwyr trwy Ferthyr, i gymmeryd lle y rhai a fordwyid o Penfro i'r rhyfel.—Cododd y Frenines, Tywysog Cymru, a'r Tywysog Albert yn foreu, i weled catrodau yn myned heibio y Palas yn Llundain; a mawr y canu a'r bloeddio yr oedd y lluoedd gwerinol, tra offerynau cerdd y milwyr yn gogleisio clustiau y torfäoedd llawen.

Amgauir Rwssia i mewn gyda muriau o ddur angheuol. Unodd Awstria a Prwssia yn ei herbyn. Enfyn Lloegr 50, a Ffrainc 39 o longau rhyfel i'w gwrthwynebu; a dyna lynges na welwyd erioed o'r blaen ei chyffelyb. Boddir, gan gyffroad y llawenydd, bob meddwl am nifer y lladdedigion a fydd yn gordoi maesydd cyfandir Ewrop—Torcalonus a fydd y gwragedd a'r plant a adawir yn ol, gan y milwyr a'r morwyr, i fyw ar drugaredd y wlad Tra y llyncir lleoedd gan ddaeargryn, a thra yr ysglyfaethir bywydau lawer gan glefydau, llyncir hefyd bob meddwl gan y brwdfrydedd sydd yn mhlaid y rhyfelgyrch presennol.—Terfysglyd yw y llywodraeth babaidd, dyryslyd hynod yw y byd dwyreiniol drwyddo oll, ac nid yw y byd gorllewinol nemawr well. Lleddir 40 ych y dydd yn lluniaeth-dŷ Plymouth, a degau o anifeiliaid, yn ddyddiol, mewn porthladdoedd ereill at borthi y llyngeswyr; ac er y dysgwylir gweled muriau coed a cherryg Rwrsia yn ysgyrion, rhwng Lloegr a Ffrainc, teimlir y drudaniaeth a achoswyd gan y cythrwfl trwy holl wledydd Ewrop; a dirwasgir y tlodion yn arswydus gan eisiau bwyd. Pwy, wrth feddwl am y Saint yn Utah, na ddywedai mewn gweldi, "Gwyn eu byd preswylwyr dy dŷ, yn wastad y'th foliannant."

---

## CARU Y GWIR.

Wyf hoff o'r dydd,—fel yr heulwen sydd
  Yn euro eiliau'r wawr,
Tra'r ffrydiau glân, gyda'r adar mân,
  Yn sïo'r bryniau 'nawr;
Ond hoffach fyrdd—na'r dydd yn ei urdd,
  Neu sain y ffrydlif glîr,
Neu gathlau cu yr asgellog lu
  Yw caru—caru'r Gwir.

Wyf hoff o'r nawn—pan yn hafaidd iawn,
  I rodio'r tewfrig lwyn,
Pan blodau'r fro, yn rhoi sawŷr fo
  Ar edyn awel fwyn;
Ond gwell o hyd, nag yw'r hafaidd bryd,
  Neu lwyn yn gwychu'r Sîr,
Neu sawyr gardd yn ei hamwisg hardd,
  Yw caru—caru'r Gwir.

Wyf hoff o'r hwyr, gyda'i lloer gàn lwyr,
  A'r blodau'n yfed gwlith,
Wrth bistyll serth, ar y clogwyn certh,
  A'r sêr trwy'r nef yn frith;
Ond canmil gwell, pan yn nhref neu'n mhell,
  Na thegwch nen a thir,
Tra'r galon hon yn dwymn yn fy mron,
  Yw caru—caru'r Gwir. Robyn Ddu Eryri.

## AMRYWIAETHAU, &c.

NEWYDD DDYFOD O'R WASG!—"PWY YW DUW Y SAINT," yn 24 tudalen, i'w werthu am dair ceiniog:—rhoddir yr elw arferol i Ddosparthwyr a alwant am danynt yn fuan!

☞ Y modd i gyfarwyddo llythyrau i ddyffrynoedd y mynyddoedd yw, ysgrifenu enw y person ar wyneb y llythyr, ac enw y dref, y ddinas, neu y sefydliad y mae, os gwyddis, yn nghyd a *Great Salt Lake City, Utah Territory, U. S. America;* a digon hyny, os digon rhywfaint er eu harwain yno. Cyhoeddir enwau y personau na alwant am eu llythyrau, yn y Newyddiadur, yr hwn sydd yn myned i'r holl sefydliadau; fel, os nad ydynt yn y ddinas, y gwelant ac yr anfonant am eu llythyrau i'r man y maent. Pris y llythyrau o dan hanner ŵns yw swllt.

☞ Dymuna y Llywydd John Price, hysbysu fod dyn o'r enw Thomas Rogers, perthynol gynt i Gynnadledd Penfro Ddeheuol, wedi cael ei esgymmuno o'r eglwys.

Rhybuddier y Llywyddion drwy yr esiampl hon rhag ymddiried arian perthynol i'r Gymdeithas Ymfudol heb ddigonol feichiau; ac ymocheled y Saint rhag ymollwng i drachwantu yr angeu melyn a berthyn i ereill, rhag eu marw hwy o'r *clefyd melyn.*

☞ Dymuna Dafydd Rees, Llywydd Penfro Ogleddol, hysbysu drwy yr UDGORN eu bod hwythau wedi esgymmuno dyn o'r enw Thomas Owens, *Hawker*, o'r eglwys, o herwydd rhedeg i ddyled eu gymmydogion, a chilio yn ddiarwybod i'r rhai oedd yn ei ofyn. Hyderwn na adewir anghyfiawnion yn un man i warthruddo crefydd Crist yn hir, os nad edifarhant a gwneuthur cyfiawnder â'r byd ac â phawb.

☞ Cynnelir Cymmanfa Ddwyr. Morganwg, yn Merthyr, Sul a Llun y 26 a'r 27 o Fawrth. Cyhoeddir y lleill yn ein nesaf.

DERBYNIWYD AM LYFRAU O CHWEF. 21 HYD MAWRTH 6,— Dwyreiniol Morganwg, £2 2s 6.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14 CASTLE STREET.

#  UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 11.] MAWRTH 18, 1854. [CYF. VII.

## ENLLIB, ENLLIBIO, A'R ENLLIBIWR.

O BOB llysnafedd a ddylifa oddiar flaen y tafod dynol, nid oes mwy cyfartalwch o wenwyn mewn dim nag sydd mewn *enllib*; fel dyferinion o saig gwasgedig ffrwyth y "pren *upas*" angeuol, —fel defnynau glasaidd lysnafedd oddiar dafod y wyber yw; ac fel sawyr pla ei haroglir gan fyd. O bob defnydd a wneir o unrhyw dafod, dyn na benyw, anifel nac ymlusgiad, pysg nac ehediaid, seraph na diafol; heriwn yr oll i'w gamddefnyddio i fwy niwed nag wrth *enllibio!* Ni chaed enllib erioed ond o erchyll bwll, calon hell, yr olaf a'r blaenaf: o ganlyniad, rhaid mai y diafol yw awdwr enllib, efe yw gweithiwr y nwyf, a'i was iselaf wasaidd yw yr enllib-ŵr. Enllibodd Lusifer ei Dad a'i cenedlodd; enllibodd fab henaf ei fam, a dau o bob tri o'i frodyr drwy yr holl deulu o leiaf, os nad pob un yn ei dro: yn enllibwyr dysga ei holl blant; ar i fyny grisiau enllib, dena hwynt i binaclau gweniaith ar gost eu gilydd; ac, enllib eu gwisg freiniol, addawa iddynt deyrnasu ar, a llywodraethu trwy enllib, bob un ei fyd fel y teyrnasa yntau—tad yr enllibwyr, ar y byd enllibaidd hwn! Tra mewn ufydd-dod i arch eu tad, ac enllib y *fatchen*, enllibio y gwreichion, y gosoda yr enllibwyr y byd yn golcierth o dan eu traed, wrth oleu eu fflamau gweled plant y goleuni ei annedwyddol effeithiau: gryddfanau ei druenus drancedigion hunan-ddinystriol a arswydo bob un o ddedwydd "deulu y caru,"—y rhai a ddysgwyliant gyda'u gilydd byth deyrnasu mewn cariad a hedd, rhag chwarae ag

enllib mwy, nag â cholyn angeu; ond ymswyno rhagddo, fel rhag pyrth marwolaeth.

Gan fod enllib mor beryglus, enllibio mor niweidiol i bawb, a da i ddim, i neb un amser, na than unrhyw amgylchiad; a chan fod y Saint ynghanol byd sydd yn fyw o enllibwyr, ac yn marw, yn foesol, dan effeithiau enllib, nid anfuddiol fyddai i ni helaethu tipyn o'n teimladau ar y testun hwn; nid cymmaint am a wyddom o'i anghen presennol, ag i fod yn *ocheliad* rhag byth roi lle i'r fath anghenfil tafod-fforchog â hwn yn eu plith.

Er mor gyffredinol yw yr arferiad hwn yn y byd, ni cheir nemawr mewn unrhyw gylch, yn neillduol y crefyddol a'r uchelradd, a'i cyfiawnhâ; ond o'r ochr arall, anmhoblogaidd yw yr enllibwr a'r enllibwraig gan bawb braidd. Nid oes nemawr a hoffa gwmnïaeth—a greda air, nag a ymddirieda ei gymmeriad i'r enllibwr; gochelir rhagddynt a diflasir ar eu clecs cyn hir, gan bob un a iawn brisia ei gymmeriad ei hun; "y ci a ddwg asgwrn a'i caria hefyd," ebe hen ddiareb; felly y neb a ddwg enllib a enlliba y gwrandawwr enllib yn ei dro. Cywion y colomenod weithiau a grwydrant yn mhell, ond dychwelant adref i glwydo yn y nos fynychaf; felly y "clecs" ar ben y cleciwr. Mor hawdd ag y dilynir llwybr y folwaden wrth y llysnafedd a edy ar ei hol, yr adwaenir lle y bu cleciwr wrth yr effaith gâs a adawa ar bob teulu lle yr elo!

Anfynych y ceir enllibwr heb fod yn ragrithiwr hefyd; o herwydd, tra â'i dafod blaen llymog y trywana enw da ei gymmydog, haera nad yw yn bwriadu ei niweidio, ond fod yn ddrwg ganddo drosto fe neu hi; ac am beidio dweyd y gyfrinach wrth neb er dim; gŵyr yr enllibwr mai dyna y ffordd gyflymaf i'w ledaenu. Mae hyn yn chwanegu rhagrith at enllib, a chelwydd at ragrith, ac yn dangos naill ai ffolineb ynddo ei hun, neu sarhâd ar synwyrau y gwrandawwr wrth geisio ganddo gredu y fath anhygoeledd.

Gan fod enllib yn lysieuyn mor angeuol yn nghrochan cawl y byd, pwy na chanfydda ei anghyfaddasrwydd i gylla nag i chwaeth teulu Duw? Deallwn wrth yr hanesyddiaeth eglwysig yn yr oesoedd mynedol, eu bod hwy o oes i oes wedi mynych dreio y llysieuyn hwn yn eu cawl, a phob tro cwynent rhag eu chwerwder. Yn amser Dafydd, yr oedd enllibwyr i'w cael, a rhestrid hwynt yn mhlith y lladron a'r godinebwyr,

a mwy niweidiol i'r cyhoedd na hyny. Haeddiannol o gosp ddwyfol yr ystyriai efe yr hwn a agorai ei safn i ddrygioni, a'i dafod i gyd-blethu dichell, "a ddywedai yn erbyn ei frawd, ac a roddai enllib i fab ei fam." "Na rodia yn athrodwr yn mysg dy bobl," ebe cyfraith Moses. Dywed y Salmydd mai y rhai a breswyliant yn mynydd ei santeiddrwydd, fydd y rhai hyny yn unig a fyddent "heb absennu â'u tafod, heb wneuthur drwg i'w cymmydog, ac heb DDERBYN enllib yn erbyn eu cymmydog." Gan na welir derbyniwr enllib yn Seion Duw, pa le yr ymguddia y *rhoddwr* enllib?

Nid oedd y llysieuyn ysgallog hwn wedi colli dim o'i bigau na'i chwerder cyntefig yn nyddiau Pedr na Phaul: y blaenaf a'i rhestrai yn mhlith llofruddiaeth, lladrad, a drwg-weithredoedd echryslon; yr olaf a'i gosodai yn mhlith rhifres o arwyddion dirywiad oddiwrth burdeb yr efengyl. Mae Iago hefyd wedi cael iawn olwg ar effeithiau andwyol yr ysgall o enllib, debygid, —"Od oes neb o honoch yn cymmeryd arno fod yn grefyddol," ebe efe, "heb attal ei dafod, ond twyllo ei galon ei hun, ofer yw crefydd hwnw." Hawddach oedd i'r llyw bychan droi y llong fwyaf yn nghanol y dymestl aruthrol—i'r march gwylltaf gael ei orchfygu â ffrwyn fechan; hawddach troi y byd â throsol, nag oedd diffodd â holl ddyfroedd y moroodd, y tân a gyneuai tafod yr enllibwr: tân yw a osoda fyd yn wenfflam—troell yw a faluria ddedwyddwch byd fel malu ewyn—a mwy aflywodraethol na gwylltaf-nwyd gwylltfilod gwylltaf môr na thir. Nid rhyfedd yw condemniad y rhai hyn oll ar dafod yr enllibwr; canys methasant hwy oll erioed a'i ddofi; eithr cyfaddefasant mai marworyn o'r golcierth anniffoddadwy o'r pwll dihysbydd yw; pwy a'i cymmeradwya? Etto meddwn, nid yw yr Arglwydd am i'r ysgallyn drwg hwn dyfu yn ei ardd yn awr fwy nâ chynt, o herwydd dywed wrthym drwy Joseph y Gweledydd,—"Na ddywed yn ddrwg am dy gymmydog, ac na wna iddo ddim niwed * * * yr hwn a'i gwnelo ac nid edifarhao a deflir allan." Nid oes neb a greda y bydd enllibio yn y nefoedd, debygwn, os gwelir byth yr enllib-*wr* edifeiriol yno; canys torwyd yr holl enllibwyr allan oddiyno er ys llawer dydd bellach; pa reswm, gan hyny, yw goddef yn eglwys Dduw ar y ddaear, yr hyn na fydd byth yn addas i'r nefoedd, ddim hwy nag y gwelir argoelion edifeiriol? Hyderir na ad-

ewir lle yn hir yn un gongl o eglwys Dduw i'r enllib-wr neu'r enllib-wraig anedifeiriol, os oes rhai yn llechu ynddi hefyd. Anhygoel i ni yw fod neb a oleuwyd gan Ysbryd y cariad hwnw ddewisia yn hytrach "guddio lliaws o bechodau," yn euog o gynllunio anwireddau maleisus pwrpasol, i ddrygu cymmeriad ei frodyr a chwiorydd anwyl; ïe, anwyl blant diniwed Duw! Pe felly, pa fodd y cyd fwytant ac y cyd yfant â hwynt wrth fwrdd yr Arglwydd; yn yr hyn y mae barnedigaeth am wneyd, ond lle y byddo undeb a chariad yn teyrnasu yn mhob mynwes? Er fod pob *clecs* i'w tadogi ar rywun, etto hawddach credu mai amlach *adroddwyr* na *dyfeiswyr* y cyfryw: er hyny nid yw yr olaf i'w gyfiawnhau am ledaenu enllib. Ni chreda rhai fod taenu y gwir yn enllibio; eithr ni wyddom wahaniaeth, os creda yr enllibwr y peth am wir, ond gwaeth ef o'r ddau os cyhoedda anwireddau gwybodus. Gŵyr y Saint am ffordd lawer gwell i ddiwygio dynion o'u ffaeleddau nâ chyhoeddi y cyfryw i'r cyhoedd: dysga Duw ni, "o phecha dy frawd neu dy chwaer yn dy erbyn, argyhoedda ef rhyngot ti ag ef ei hun; os na wrandawa, cymmer arall gyda thi." Nid yw enllibio yr enllibwr ond rhoi tanwydd ar dân; ni wna dan ddrwg byth un da; eithr "gorchfyger ddrygioni trwy ddaioni." Efelychwn ein Meistr,—"yr hwn pan ddifenwyd ni ddifenwodd drachefn." Diau y tywyllir calon y neb a ollynga ei dafod i adrodd enllib; a'i gwnelo, a golla ymddiried ei frodyr, cymmeriad difrycheulyd pa rai a ddylai fod yn destun ymffrost gan wir ddyscyblion Iesu Grist. Os dolurir teimladau gan ereill, gwell o lawer yw gwneyd fel ein cyfarwyddir gan ddyscybliaeth ein heglwys mewn tiriondeb, nag ymollwng i ddial trwy syrthio i'r un pwll. Eithr dichon mwy o enllibio fod, o herwydd ymollyngiad i arferiad lygredig, anystyriol, ac anfoneddigaidd y byd, a dweyd er mwyn dweyd rhywbeth, a chynllunio enllib er dangos mwy gwybodaeth nag ereill am eu cymmydogion a'u matterion; fe ddylai y cyfryw ymdrechu dysgu a chofio y "*Mormon Creed,*" sef, "i bob un i feindio ei fusness ei hun."

Os pecha brawd neu chwaer drwy enllibio neu un modd arall, myned atynt mewn cariad ac addfwynder i'w hargyhoeddi, yw dyledswydd y dyoddefydd; os gwrandawant arno, efe "a droes bechadur o gyfeiliorni ei ffordd, a waredodd enaid rhag angeu, ac a guddiodd liaws o bechodau," pa rai, pe'd olrheiniasid

hwynt o flaen brawdlysoedd cyhoeddus a fagasent fwy digasedd, yr hwn a chwiliasai am le i ddïal: "ateb arafedd a ddettry lid," cofier, eithr "gair garw a gyffry gynnen." Etto, ni raid i neb oddef anghyfiawnder na chamgyhuddiad; canys os nad edifarha y troseddwr, neu os nad ellir ei argyhoeddi, eler â'r athraw ato, a bydded ef yn dyst dros yr eglwys; os efe ni wrendy arno yntau, rhybuddier ef y dygir cyhuddiad yn ei erbyn yr amser penodol o flaen cynghor y gangen, a hysbyser ef pa le y bydd, a gwahodder ef yno, a'i dystion os bydd rhai. Da rhagorol yw pwyll gyda'r cyfryw: ei *adferiad* fyddo gorchestwaith yr oll; canys nid yw nemawr camp ei ddigio a'i yru i fwy tywyllwch, ac efallai allan o'r eglwys,—gallai crwt wneyd hyny. *Achub*, ADFERYD, a llesoli fyddo ymgais y Saint bob amser, megys y dymunent i ereill wneyd â hwy. Os meddylia ei fod yn cael cam yn y cynghor hwnw, y mae ganddo hawl i dreial o flaen llys y Gynnadledd, ac yna i'r prif lys, ac oddiyno cyfarwyddir yn uwch, os bydd yn ddoethach gwneyd felly. Gan hyny nid oes berygl i anghyfiawnder na gormes, nag enllib na châs nychu neb os gwna yn iawn ei hun. Dyma oedd, a dyma yw dyscyblaeth eglwys Iesu Grist, ebe dadguddiadau i ni,—yr hwn a wnelo ryw ffordd arall a ddrwgdybir gan y Saint o fod yn angrhedadyn, yn ceisio gwella trefn Duw, neu yn ceisio dïal ar, yn lle ceisio lle i faddeu i'w frawd neu chwaer. Nid yw enllib y naill yn cyfiawnhau arall am enllibio, mwy nag y gwna dau gelwydd un gwirionedd. Ymocheler rhag enllib, ynte, er dim.

---

## ENLLIB.

"Ti ellyll lygadgoch! i b'le mae dy daith,
Yr awrhon i osod dy wenwyn ar waith?
Trugaredd anfono'i hangylion o'th flaen,
I ddweyd fod y dalaeth yn myned ar dân.

Y dager daufiniog wrth dy ystlys yn nghrog,
Er d'ymgais i'w chuddio a welaf drwy'th glôg;
Duw'n gymhorth i'r adyn raid odde'n ei fron,
Heb wybod pwy'i brathodd effeithiau hyll hon."

---

# Y DIRYWIAD ANGHRISTAIDD.

GAN ROBYN DDU, ERYRI.

[Parhad o dud 153]

Gellir canfod, trwy hanesyddiaeth y diwygiad Allmaenaidd, y rheswm paham y daeth y Bibl i gael ei ystyried yn ddiweddglo ar yr holl ddadguddiadau dwyfol: sef, gan mai yn hysbys i'r bobl oedd, y bu doniau gwyrthiol yn Eglwys Crist, a chan mai gwybodus i'r Pab, a'i fynachod, oedd eu hamddifadrwydd hwy eu hunain o'r cyfryw ddoniau, dychymmygwyd a lluniwyd ffug bethau, gan eu galw yn wyrthiau: er enghraifft, dodwyd delw ar groesbren uchel gydag yspwng llawn gwaed mewn twll yn ei hystlys, a llinyn yn cyrhaedd o'r yspwng hyd i allor yr offeren; a thra y dorf ar ei gliniau yn llygadu ar y ddelw, tynid yn y llinyn gan yr offeiriad, gwasgid felly yr yspwng o fewn y twll ystlysog, dylifai y gwaed tros gorph yr eilun, a'r bobl gan dybiad iddynt weled gwyrth, a goelient fod yr eglwys apostolaidd yn parhau, ac yn derbyn dadguddiadau. Rhoddwyd i'r mynachod Agustaidd y fraint o werthu llythyrau maddeuant i'r bobl, a dygai hyny elw mawr i'r frawdoliaeth a phan y dygwyddodd i'r mynachod Dominic gael y fraint ennillfawr hono, yn lle y lleill, digiodd yr Augustiaid yn aflawen, ac yn eu mysg ffyrnigwyd Martin Luther; a'r canlyniad a fu i Luther, Melancthon, ac ereill o'r brodyr, fyned a dynoethi twyll y ffug wyrthiau, gan ymddïal ar y Pab trwy godi plaid wrthryfelgar yn ei erbyn: a phan aeth y berw gwrthryfelgar yn gryf, troes llawer o bobl yn anffyddwyr trwyadl, a haerasant na bu y fath beth a gwyrth erioed; eithr ereill a gredent y bu gwyrthiau, au bod etto yn canlyn Luther. Parodd yr ymrafael yna, i Luther deimlo ei wendid; gan hyny, ymdrechodd i gael gan y pleidiau gredu y bu gwyrthiau, ond mai eu hunig ddyben oedd i ddechreu a chyflawni y Llyfr, Bibl: a chan fod y Llyfr wedi ei gyflawni, nad oes i'r fath beth a gwyrth gymmeryd lle byth mwy: a chan haeru, fel y Waldensiaid o'i flaen sicrhäodd Luther i'w ganlynwyr nad allai neb fod yn gadwedig heb y Bibl, yn ei feddiant, megys ei unig rëol ffydd a buchedd: ac wedi cyfieithu ac esbonio darnau o'r Llyfrau, lledaenodd hwy am arian yn mhlith y werin. Y canlyniad o hyny, a fu i'r werinos ddarllen yr ysgrythyrau: ac fel yr oedd gwahan-

iaeth yngraddau eu dealltwriaethau, ffurfiasant hefyd farnau gwahaniaethol; a phan adroddasant eu golygiadau i'w gilydd buan y canfyddwyd na cheid nemor ddau yn cyttuno, oddigerth yn y pwnc mawr o fod y Bibl yn derfyn ar bob dadguddiad: eithr, y mae yn amlwg, tra y naill ddosparth mor *amddifad* a'r llall o'r Ysbryd Glân, na allent hwy oll yn amgen na chyttuno a'u gilydd yn y pwnc newydd hwnw! Modd bynag dechreuodd y bobl ddadleu yn ffyrnig am byneiau ereill: ymranasant yn fân bleidiau ymrysongar, erlidiasant eu gilydd, yn elyniaethus, a lladdwyd llaweroedd o honynt mewn penboethni cyfartal i wallgofrwydd cythreulig: ac o ganlyniad hawdd y gwelir yma nad cymmaint y gwelliant diwygiadol, ag y ddychymmyg y rhai na ddarllenasant ei hanes: eithr i'r llygredd a barodd golli y doniau gwyrthiol, ymwreiddio er ys blynydd oedd cyn hyny, hyd nes mai gormod gorchwyl i fraich Luther oedd gallu ei symud. Gwelir hefyd yn eglur, mai yr Arglwydd oedd yn meithrin yr eglwys, trwy ei weision, yn nydd goleu y dadguddiadau; ond y bod rhyw lawer yn ei phorthi yn nos y diffaethwch; eithr y daw etto amser, na bydd ond un Arglwydd, a'i enw yn un, yn myddin fawreddog y Saint.

Yngoleuni y dadguddiad, estynai y nefoedd gymhorth i'r eglwys dan erlidigaeth; ond yn nhywyllwch y dirywiad, y ddaear a gynnorthwyodd y wraig yngwyneb chwythiad afon danllyd y sarph ar ei hol. Bu Duw, yn llywodraethu dynion trwy gyfraith yr eglwys; ond daeth dyn i lywodraethu yr eglwys trwy gyfraith y byd; ac y mae Duw, yn yr oes hon, yn dychwelyd i'w le a'i etifeddiaeth ei hun. Pan oedd gan Dduw lywodraeth yn yr eglwys, yspeiliwyd yr Aifft, darostyngwyd Og a Bashan, ymaflwyd ynghonglau Möab, etifeddwyd Palestina, a gorfodwyd lluoedd y cenedloedd i gilio ac i ffoi; wedi dyfod llywodraeth brenin annuwiol i'r eglwys, difäwyd ei chryfder, pallodd y dadguddiadau, llygrwyd ei hathrawiaethau, halogwyd ei llestri, lladdwyd ei gwrolion a daeth y genedl Iuddewig yn orweddog dan wadnau traed y rhai dienwaededig a chyrff ei phlant yn feddiannol gan lengau o gythreuliaid. Ond yn nydd Crist, ymwelodd Duw a'i bobl, megys a chodiad haul o'r uchelder, wedi nos hirfaith a niwliog; a thra yr Ysbryd Glân, yn yr eglwys, a'r Apostolion yn fyw, yr oedd llais gweddi yn siglo carchardŷ, a phin ysgrifenu Paul yn awch-

lymach na chleddyf Ceasar: ond wedi colli amryw ddoniau yr ysbryd, a dyfod y Pab i deyrnasu, yr oedd llais y chwil-lys yn dystewi cyfeillion y gwirionedd a bwyall merthyrdod yn attal i bleidwyr dynoliaeth lefaru. Gyda dadguddiadau dwyfol, yr oedd yr eglwys dan erlidigaeth fel perth yn llosgi heb ei difa; ond gyda thraddodiadau dynol, goddeithiwyd y cedrwydd, a gwasgarwyd y lludw yn fân sectau lawer ar hyd y byd. Gyda'r naill, porthid y defaid yngolwg y blaidd, eithr gyda'r llall, daeth bwystfilod gwancus i ddifwyno maesydd y perlysiau. Newidiwyd y doniau nefol am greiriau tan-ddaearol: a chyfnewidiwyd galw ar Dduw am weddio ar Mair!

Hyd y cadwodd Israel orchymynion yr Arglwydd, addolasant y Mawrhydi anfeidrol; ond pan aethant ar ol gorchymyn Jeroböam, addolasant loi aur. Ac hyd y cadwodd y Cristionogion orchymynion yr Iesu, yr oeddynt yn gweddio ar Dad yr ysbrydoedd; eithr pan y gwrthgiliasant, gan fyned ar ol gorchymyn esgob Anghrist, cafwyd dynion llygredig eu meddyliau yn gweddio ar ysbrydion y meirw; yr hyn beth a dröwyd gan brotestaniad yn wyliau seintyddol.

Dull satan yn hudoliaethu pobl yr Arglwydd, a gynnwys rybydd difrifol i'r holl rai a broffesant grefydd ein Harglwydd Iesu Grist. Ni allodd Balaam regi Israel, mwy nag a gallodd y Philistiaid rwymo Samson; ond medrodd y dewin ddenu y bobl, trwy ymgofleidiad merched Möab; a medrodd y dagoniaid dynu llygaid y cawr, trwy ei gael i gysgu ar liniau Dalilah. Ni allodd croeshoelio y Blaenor, ladd cristionogaeth, ond gallodd ei phriodi a'r byd ei llygru a'i gwanhâu; ac nid oes enbydrwydd i ninnau yngŵg y byd, eithr y mae yn ei wên beryglon dinystriol. Erlidied yr annuwiol, a cheir gan y Saint weddio: ond na atto y nefoedd i neb o honom ymhoffi ynghyfeddach na chyfeillach dynion sydd yn gâs ganddynt Dduw.

Llawenyched y Saint, mewn llais moliant; a bydded orfoleddus blant y Cyfammod Newydd! Y mae genym y prawf cadarnaf o ddïanwadalwch yr addewidion dwyfol, canys gwelir eu cyflawni ger bron ein llygaid Mae Duw ynghynnulleidfäoedd ei bobl; Efe ydyw Brenin y Saint! Achyn hir, gwelir y byd mor ddwfn gor is yr Eglwys, ag a fyddai y ddaear islaw gwraig wedi ei gwisgo a'r haul, a'r *lleuad dan ei thraed*, ac ar ei phen goron o ddeuddeg Seren. Cyfodwn, a gwisgwn ein nerth

oddiuchod; esboniad sydd wasanaeth dyn o'r ddaear, eithr dad-guddiad sy gannadwri angel o'r nef; nid yw sectyddiaeth namyn dychymyg dynol, ond y mae yr eglwys yn ffaith,—a'r Efengyl. gallu Duw yw hi er iachawdwriaeth i bob un a'r sydd yn credu.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MAWRTH 18, 1854.

RHYFELOEDD, sôn am ychwaneg o ryfeloedd, a darparu i ryfela, yw prif bwnc y byd yn awr. Sôn am heddwch—argoelion mwy heddychol a phenderfyniad i ymheddychu â'u gilydd yw prif ymffrost yr eglwys. Casineb, cynnen, ac eiddigedd yw elfenau llywodraethol y naill, tra mai cariad sydd yn cynnyddu, undeb yn ymeangu, a heddwch yn teyrnasu yw cân a mawl y lleill.

Nid ar faesydd Twrci a Rwssia, nag ar faes y frwydr yn unig y mae rhyfel, ond rhaid ei fod wedi dechreu yn nes adref. Nid rhuad magnelau, trwst arfau, sain udgyrn, nag ymfyddiniad pobloedd, yw unig arwydd-nodau rhyfel chwaith; nid arddanghosach o ryfel yw gweled pleidiau, gledd yn nghledd, yn ymdrechu â'u cledd drywanu eu gilydd, nag yw rhyfel ysgrifellau yn brwydro am gymmeriadau y gwrth-bleidiau. Nid ffrwythau cywirach o ryfel calon yw dau filwr mewn cotiau cochion ar eu mheirch dysglaerwych, nag yw dau ddyn, nad beth eu teitlau, mewn cotiau duon a chadachau gwynion, o ddau bwlpud yn brwydro yn eu ffyrdd hwythau; ac nid mwy rhyfelawg hwynt, nâ'r seneddwyr croesbleidiol a ryfelant trwy eiriau, o barthed i'r byddinoedd a anfonant allan i ryfela trwy ddur, ac arfau tân. Calonau dynolion yw y ffynnonau dihysbydd, o'r rhai y dylifa ffrydiau o waed dynion i foddi trigolion byd:—hwn yw y *Volcano* hunan ymgynhyrfiol, afonydd tanllyd yr hwn a ddifa bob blodeuyn a glaswelltwyn yn

nghyraedd ei gynddeiriog donau tanawg;—ïe, dyma tad y drwg, a rhyfel yw'r wers a ddysga; rhyfelawg yw efe, â holl ryfeloedd byd, nad pa fodd y cymmerant le, na phwy a'i gwnant, nid ydynt ond gorlifiad calon dyn dros ei cheulanau, yr hon a ddiluwia'r byd â gwaed yn gyferbyniol i nerth ei fraich neu rym ei arfau. O ganlyniad, dyma'r fan iawn i rwystro rhyfel. Chwi wladgarwyr, a'ch hedd gymdeithasau, dyma'r fan i daro eich ergyd fel ag i roi clwyf marwol i ddinystrydd dynolryw -symmudwch y natur ryfelawg o galon dyn, ac ni ryfela yn dragywydd; amddiffynydd ar y gwaethaf gall fod, a hyny ond, hyd nes y cynheswch galon ei ymosodwr â'r cariad a deilynga cydgreadur ei Dduw oddiar ei law. Pa fodd y gwneir hyny, sydd gwestiwn anatebadwy i holl ddoethion ein cyfandir ni; nid yw y rhyfeloedd cyffredinol sydd yn arswydo'r byd, ond ffeithiau mor amlwg o'u hanallu cymmodol hwynt oll, ag yw ymraniadau crefyddol a chroes bleidiau ein byd. Po fwyaf yr ymdrechiadau a wnant am undeb, po amrywiaf yr ysgerbibion a ymchwalant o'r defnyddiau. Pa fodd ynte, y rhoi'r diwedd ar ryfel drwy'r byd? Atebwn, mai drwy yn gyntaf, ladd yr anian ryfelawg sydd yn nghalon dyn - lladded pob un y wreichionen yn ei galon ei hunan, ac yna ni welir colcierth rhyfel yn y byd. Eithr dyn o hono ei hun ni all wneyd hyn, meddir:—o ganlyniad, mewn pryd cynnygiwn feddyginiaeth anffaeledig i'r byd, yr hwn a'u cynnorthwya i wneyd yr oll a ddymunant. Nid llai ein dyledswydd na'n pleser i gyfarwyddo y neb a ewyllysia ddeall y dirgelwch hwn; - ein cenadiaeth yw dysgu trigolion byd i fyw yn heddychol, ymbarotoadol i sefyllfa dragywyddol o hedd, lle y teyrnasa yr oll mewn cariad undebol dieithriad. Mor anhebgorol yw dysgu tra yma, y modd i fyw felly yno; i'r dyben hyny, anhebgorol yw Ysbryd Duw yn ei ddylanwadau heddychol: er undeb, anhebgorol yw cydwelediad; yr hyn sydd effaith cywir ddysgeidiaeth; yr hyn a geir yn unig drwy air Duw. Danfonodd Duw ei air drwy ei weision ynte, crediniaeth yn, ac ufydd-dod i'r hwn, a ddyga ddyn drwy ddyfroedd bedydd i fwynhau "Dawn yr Ysbryd Glân;" yr hwn a wna i'w feddiannydd garu ei gyd-ddyn â chariad cyffelyb i gariad Crist, ac au dysga hwythau i wneyd fel y gwnaeth yntau, sef, i roddi eu bywydau dros eu gilydd, yn hytrach na rhyfela a'u gilydd. Dyma heddychwr diffael—meddyginiaeth an-

ffaeledig; a thragywyddol ddiwedd pob rhyfel ysgrifellau, geiriau, magnelau, a phob arfau; a phan lywodraethir pob un gan hwn y "troir y cleddyfau yn sychau, a'r gwaewffyn yn bladuriau." Pryd "na ddysga dynion ryfel mwyach." Henffych i'r dedwydd ddydd, pwy na hiraetha am dano? Nid neb a wrthoda yr Ysbryd tragywyddol, yr hwn yn unig a'i dyg oddiamgylch.

---

Y 'Dirywiad Anghristaidd;"—O waith Robyn Ddu, a ddiwedda yn y rhifyn hwn, sydd ddrych eglur i arddangos gwir sefyllfa y byd, er ei ymffrost grefyddol, yn yr hwn dylai yr oll a broffesant grefydda drwy ddoethineb ddynol weled eu hunain, ac arswydo rhag tynghed yr holl oesau mynedol, y rhai ydynt er esiamplau i ni o ddigofaint Duw yn erbyn gwadwyr dadguddiadau cyd-oesol; hyderwn y gwela ei gyfeillion diweddar, eu sefyllfa wrth edrych ynddo; ac y bydd i'r rhai hyny a broffesant gredu unrhyw ddadguddiadau ysgrythyrol gredu ei dystiolaeth ef, a'r eiddom ninnau a dyfod fel y daeth yntau, i wir eglwys y Duw byw, lle y cânt hwythau wybod y ffaith benderfynol, sef y fod dadguddiadau parhaus oddiwrth Dduw nid yn unig yn sylfaen a phegwn i bob gwir eglwys flaenorol, ac mai hon yw y "graig" ar ba un yn unig yr adeilada y dwyfol adeiladydd hi—a gwybod ei fod yn dadguddio ei air a'i gynghor i'w Saint yn awr, drwy dderbyn yr un pethau yn ddiammheuol iddynt eu hunain.

---

Hanesion Tramor.—Yr hanes o *Penrhyn Gobaith Da* a fydd yn ddyddorol iawn gan y Saint Cymreig, o herwydd iddynt gael y fraint o gyfranu eu harian i dalu cost y brodyr ffyddlon hyny yno; cofus gan Saint Methyr, a'r cylchoedd, i'r Brawd Walker ymweled â hwy, a thestun diolch i Dduw fydd ganddynt glywed iddo fendithio eu llafur eisoes, i achub braidd gynnifer o eneidiau a gyfranasant hwy o bunnoedd; ac fod yr efengyl drwyddynt hwy wedi cael ei sefydlu am y tro cyntaf ar gyfandir Affrica: ein gweddiau a fyddo am ei lledaeniad hi o gwr i gwr o hono, ac ar iddi ddwyn miliynau dirif o bob llwyth ac iaith Affricanaidd, ynghyd ag ereill o blant yr un Tad, i'w glodfori yn dragywyddol.

## NEWYDDION O DDYFFRYN Y LLYN HALEN.

Derbyniasom lythyrau o Ddyffryn y Llyn Halen Mawr, hyd i Dachwedd 30, gyda y *Deseret News* am Dachwedd 12, a Rhagfyr 1; attaliwyd y llythyr gerbyd fis yn y mynyddoedd. Cadarnheir cyflafan Cadben J. W. Gunnison a saith o'i ddynion gan yr Indiaid. Dygwyddodd y tro prudd hwn gerllaw corsydd yr afon Sevier, 20 milltir o Lyn Sevier, Medi 26, am 6 o'r gloch y prydnawn. Yr oedd y gwyr-lythyrydd Caben Morris, a'r holl gwmni wedi cyrhaedd Dinas y Llyn Halen Mawr. Ni chollwyd ond ychydig o nodiadau neu offerynau y tir fesuriad, ond yr oedd ychydig anifeiliaid, nifer o eirf, gryn dipyn o arlwy rhyfel yn ngholl. Amryw geffylau, mulod, drylliau, llawddrylliau, &c., a adgafwyd. Y gyflafan oedd weithred o ymddïal, o herwydd lladd un Indiad Pauvan, a chlwyfo dau ereill, gan blaid o ymfudwyr i Galifornia. Agorodd Llys uchaf yr Unol Daleithiau am Diriogaeth Utah, ei eisteddfod yn y Tŷ Tiriogaethol, Dinas y Llyn Halen Mawr, Tachwedd 29. Bu y tywydd yn dra theg yn gyffredin. Cafodd ysgoldy newydd a chyfleus, a adeiladwyd gan drigolion y ddeuddegfed Geidwadaeth Dinas y Llyn Halen Mawr, ei gyssegru gan yr Henuriad Lorenzo Snow, Tachwedd 27. Yr oedd yr Ysgoldy wedi ei orphen yn hardd, ac am gyfleusdra, yn rhagori ar bob un arall yn y ddinas. Yr oedd Esgob Allred, ac aelodau ereill y cyfeisteddwyr o San Pete, yn diwyd gasglu y 150 teuluoedd i fyned i Manti. Yr oedd i'r teuluoedd hyn i gael eu lleoli yn hollol o fewn Dinas Manti am yr amser hyny. Y rhai na allent gynnysgaethu eu hunain gyda gweddau anghenrheidiol a gawssant eu diwallu gan y cyfeisteddfod. Siaradid am ffordd newydd, yn orllewinol o Ddinas y Llyn Halen Mawr, i Galifornia, yn ferach o 250 milltir na'r llall.

---

## CENADIAETH PENRHYN Y GOBAITH DA.

*Bedyddiad pump a deugain—Dwy Gangen ac un Gynnadledd wedi eu corffoli.*

**Chwe milltir o Cape Town, Ionawr 20, 1854.**

**Y Llywydd S. W. Richards,—Anwyl Frawd—Daeth eich Llythyr Tachwedd 8, i law Rhagfyr 27, teimlwyf yn wir ddiolchgar am y newyddion y roddasoch.**

Daeth y cistiad llyfrau a ddanfonasoch gyda'r llong *Conheath*, i law Hydref 24. Pan ysgrifenais fy llythyr olaf, yn galw am lawer o lyfrau, &c., yr oedd yma gyffröad mawr, a galwad parhaus am lyfrau, yn enwedig y Llyfr Mormon. Deuodd y tywydd poeth yn fuan, fel nad allem wneyd ychwaneg na chymmeryd gofael o'r rhai a fedyddiasom.

Mae y brodyr Walker a John Wesley wedi myned i Graham's Town, a chymmerasant amryw o'r llyfrau gyda hwynt. Ordeiniwyd y brawd Wesley yn Ddysgawdwr.

Tebygol y bydd i'r brawd Smith gychwyn i Port Elizabeth mor fuan ag y delo yn ychydig oerach, a chymmeryd gan mwyaf o'r llyfrau sydd ar law gydag ef, fel pan ddaw y cistiad nesaf, y bydd arnaf eu heisiau.

Yr wyf yn awr wedi cychwyn casgliadau rheolaidd yn mhlith y Saint, trwy yr hyn y gobeithiaf allu talu yr holl ddyled sydd arnom, ynghyd a gallu cyfarfod pob ychydig draul a ddichon ddigwydd rhagllaw. Y Saint ydynt dlodion yma, ond yn ewyllysgar i wneyd yr oll a allont.

Fel y dywedais, bu yn rhaid i ni aros yn llonydd braidd, er pan ddechreuodd y tywydd poeth. Cerddais a theithiais yngwres haul a thywod yr hinsawdd dwymn hon, nes y canfyddais fod genyf naill ai i aros hyd nes y byddai y tymmor poeth drosodd, neu wneyd i fyny fy meddwl i wisgo fy hunan ymaith y tymmor cyntaf yn y wlad hon; i wneyd yr olaf, ni feddyliais fod yr Arglwydd yn ei ofyn genyf. Pan ddelo y tywydd yn oerach, gobeithiaf y cymmer y gwaith gychwyniad arall.

Yr wyf yn anfon i chwi hanes gwledd ddifyrus, a gynnaliwyd gan y Saint yn y wlad hon, Ionawr 2. Gwell y gallwch chwi ddirnad ein teimladau nag y gallaf fi eu darlunio. Ychydig fisoedd yn ol, tiriasom yma yn ddigartref, heb gyfaill, ac heb geiniog. Yn awr gwelwn yn ymgynnulledig o'n hamgylch ychydig gyfeillion cywir galon, yn ewyllysgar i gymmeryd eu harwain gan offeiriadaeth santaidd Duw, ac i wneyd a allant at beri y bod gweision Duw yn gysurus mewn gwlad estronol.

Yr ydym yn awr wedi bedyddio pump a deugain. Corffolasom ddwy Gangen, ac un Gannadledd, gan ei galw Cynnadledd y Penrhyn. Ordeiniasom chwech o Ddysgawdwyr, a dau o Ddiaconiaid. Mae nifer yn credu, a chymmerent eu bedyddio pe na byddai o herwydd colli eu henwau da.

Llafuriwn dan bob anghyfleustra, heb ddeall iaith y Dutch, oblegid y mae llawer yn y drefedigaeth hon yn siarad Dutch, ac na allant siarad Saesonaeg. Mae ychydig o'r rhai a fedyddiasom yn medru siarad Dutch, un dyn yn neillduol, yr hwn a ordeiniwyd yn Offeiriad. Pe byddai ef ond mewn sefyllfa i allu gadael cartref, byddai yn gynnorthwy mawr i ni.

Mae gwr boneddig, a brynodd un o bob llyfr a feddwn, yn yn bwriadu cymmeryd y *Star* a'r *Seer*, ac yn ewyllysio gweled pob peth a gyhoeddwn. Cymmerai ei wraig ei bedyddio pe byddai ef yn foddlon. Y mae ef yn ddyn o ddysgeidiaeth rhagorol. Bu ef yn garedig a chyfeillgar i ni, er pan ydym yn y drefedigaeth, a chredaf y cofleidiai ef y gwirionedd oni bai ei boblogrwydd. Pe y bedyddid ef, yr wyf yn meddwl y gwnelai llawer a ystyriant eu hunain yn hytrach uwchlaw y cyffredin ei ganlyn. Ond y gwaith sydd eiddo yr Arglwydd, ac os na bydd iddo Ef weithio, trwy ei Ysbryd, ar galonau y bobl, ein llafur sydd ofer.

Teimlwn i ddiolch i'r Arglwydd am ei gymmwynasgarwch i ni. Dymuna y brawd Smith ei gofio attoch chwi, rhoddi i chwi ddoethineb i wybod y modd i reoli y cyfrifoldeb pwysig a orphwys arnoch yn llywyddu tros gantoedd o Henuriad a miloedd o Saint.

Ydwyf yn parhau eich brawd yn y cyfammod Newydd a Thragywyddol. JESSE HAVEN.

---

## PRESWYLWYR RHYFEDD BASIN MAWR GOGLEDD AMERICA.

CYNNYSGAETHODD Cabden Walker, y mynyddwr, Newyddiadur a elwir "*Y Sacramento Herald*," gyda hanes hiliogaeth hynod o bobl, a fywiolaethant yn y Basin Mawr. Dywedir mai ef yw y dyn gwyn cyntaf a ymwelodd a hwynt.

Trwy gywir ganol y Basin Mawr y rhed y Rio Colerado Chiquitio, neu yr Afon Goch Fach. Cymmer ei tharddiad yn y mynyddoedd sydd yu ymylu poncyn deheuol y Rio Grande. llif yn hollol orllewinol braidd, ac arllwys ei hun mewn pegwn ar yr un lledred cyfochrog a *Walker's Pass*. Oddeutu cant milltir i'r gogleddol i hyn, ac yn rhedeg yn gyfochrog braidd a hi, y mae afon *San Juan*. Mae pob un o'r ffrydiau hyn oddeutu dau gant a deg a deugain milltir eu hyd. Rhyngddynt yr ymestyn bwrdddir aruthrol, a dorir yn achlysurol gan gwmoedd nad ydynt hirion

iawn, y rhai a ymsaethant i fyny rhwng y ddwy anfonydd, a haner y ffordd yn yr anialwch rhwng y Colorado ar Rio Grande, y mae gwlad y Mocwis. O ganol y gwastad tir hwn, cyfyd yn serthaidd ar bob ochr bentan o uchder go fawr, pen yr hwn sy mor llethog a phe ryw allu mawr wedi tafellu ymaith ei gopa. I ffwrdd at i fyny yma, mae y Mocwis wedi adeiladu tri pentref helaeth, lle gorphwysant y nos, yn hollol ddiogel oddiwrth ymosodiadau y llwythau ffyrnig a fywiant i'r gogledd a'r dwyrain iddynt. Mae ochreu y mynydd-fwrdd hwn yn glogwyni uniongerth braidd, ac ni ellir cyrhaedd y crib ond ar hyd rhes o risiau llethrog, a dorwyd yn y graig galed. Mae gwastadedd o dir âr amgylch ei fonsang, yr hwn a feithrin y Mocwis gyda diwydrwydd mawr.

Codant yma bob rywogaeth o yd, melwn, a llysiau. Mae ganddynt nifer o berllanau hefyd, wedi eu llenwi ag amryw fath o goed ffrwythau. Y peatys a godant ydyw rywiog neillduol. Mae ganddynt ddiadellau mawrion o ddefaid a geifr eithr ychydig iawn o anifeiliaid cludo neu wartheg. Maent yn Eppil diniwed a didramgwydd ; yn garuaidd a chroesawus i ddyeithriaid ac ychydig a wnant o wrthwynebiad pan ymosodir arnynt. Mae y Navajos rhyfelgar, a breswyliant yn y mynyddoedd, i'r gogledd-ddwyrain iddynt, yn arfer ysgubo i lawr arnynt hwy bob dwy neu dair blynedd, a gyru ymaith eu hanifeiliaid. Ar y fath amserau casglant i fyny yr oll sy symudadwy o'u tyddynod, a ffoant am noddfa i'w cadarn loches fynyddig. Yma ni all eu gelynion lyfasu eu dilyn hwynt. Pan agoshäo un dyeithr, ymddangosant ar benau y creigiau a'r tai yn gwylio eu symmudiadau. Mae un o'u pentrefi, yn yr hwn yr arosodd Cabden Walker amryw ddyddiau, dros chwe chant o latheni ei hyd. Adeiladwyd gan amlaf o'r tai o gerryg ac amrwd ; a rhai o briddfeini. Maent yn dra chryno a chysurus, ac amryw o honynt sydd ddau, ac hyd y nod dri uchder llofft.

Y trigolion ydynt gryn dipyn yn mlaen mewn llawer o'r celfyddydau, a llaw-weithiant frethyn gwlan rhagorol, gwrthbanau, lledr, basged-waith, a phriddlestri. Heb fod fel gan amlaf o'r llwythau Indiaidd yn y wlad hon, y gwragedd a weithiant o fewn eu tai, y dynion sydd yn cyflawni holl lafur y tyddyn ac allan. Megys hiliogaeth y maent yn wynach eu lliw nag Indiaid California ; yn wir, y mae'r benywod yn dra glandeg, o herwydd nad

ydynt mor agored i'r haul. Y Mocwis a amaethyddant yn y gwastadedd y dydd, ac enciliant i'w pentrefydd yn y mynydd y nos. Dyfrhant eu tiroedd trwy foddion y ffrydiau bychain a redant allan o'r mynydd. Weithau, pan heb fwrw eira ar y mynyddoedd y gauaf, eu cnydau ydynt ddrwg. Am y rheswm hwn cadwant yn feunyddiol, luniaeth dwy neu dair blynedd wedi ei grynhoi, rhag ofn newyn. Y maent yn bobl, o'r mwyaf anghyffredin yn gyfangwbl, yn mhell yn mlaen ar bob cynfrodorion ereill a ganfyddwyd hyd yn hyn ar y cyfandir yma. Ni chawsant erioed gyd-gyfeillach gyda'r bobl wynion, ac o orfod dechreuodd eu gwareiddiad gyda eu hunain.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Yn awr yn y Wasg.—Daw allan yn fuan "Dadl rhwng Bedyddiwr ac Anffyddiwr;" traethawd yn 16 tud., am ddwy geiniog.

Yr "Eurgrawn."—Oes y mae genym rai copïau ar law, eithr ni wyddis pa hyd y gellir dweyd hyny! Ceir ef yn awr wedi ei rwymo am y prisiau a nodasom yn y 6fed rhifyn o'r Udgorn. Oes y mae rhai heb eu rhwymo, a gellir cael rhifynau, neu yr oll i'w rhwymo fel y dymunir, os gwneir brys!

Dosparthwyr!—Mae y *Post Master* yn gomedd i ni ddanfon yr *invoice* gyda eich llyfrau drwy y *Post* yn hwy, o herwydd, ebe fe, fod hyny yn groes i gyfraith. Gyda phwyll cewch hwynt ryw ffordd arall.

Cymanfaoedd.—Cynnelir Cymanfa Sir Frycheiniog, Ebrill 2il; Sir Fynwy, ar y 9fed; Gorllewin Morganwg, ar yr 16eg; Llanelli, ar y 23ain; Caerfyrddin, ar y 30ain; Aberteifi, ar y 7fed o Fai; Penfro Ogleddol, ar y 14eg; a Phenfro Ddeheuol, ar yr 21ain.

Derbyniwyd am Lyfrau o'r 7 hyd 15 o Fawrth,—Gorllewin Morganwg, £3 10s; Mynwy, £2 10s; Dyffryn Conwy, £2.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14 CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 12.] MAWRTH 25, 1854. [CYF. VII.


## YMDDIRIED.

GAN Y LLYWYDD BRIGHAM YOUNG.

YMDDIRIED, frodyr, *Ymddiried*,—yn ein Duw, ac yn y naill y llall, yw y testun a roddais i'r Deuddeg ac i bawb ereill a bregethasant y Sabbath diweddaf, i lafaru arno. Derbyniodd y Deuddeg Gennadaeth i bregethu i'r bobl o fewn y dyffrynoedd hyn yn eu hamryw Sefydliadau, y Gynnadledd ddiweddaf; a chredwyf y buont yn iawndda ffyddlon dan gyfarwyddiadau Llywydd eu corwm, y brawd Hyde. Bydded iddynt yn awr bregethu oddiar y testun hwn, *Ymddiried;* a bydded i'r cyfan o'r bobl weithredu oddiar ei egwyddorion, a sylwi pa bryd ac yn mha le y bydd iddo ddechreu a diweddu, a gweled os na sefydlwn y cyfryw ymddiried yn y wladwriaeth hon, ac yn mysg y bobl hyn, na fu erioed, ac na fodola byth ar y ddaear ei fath, mewn unrhyw wladwriaeth o bobl ond Saint. Dichon i mi ddywedyd ei fod genym eisioes; ond yr wyf yn meddwl y byddai cynnyddiad ffydd yn ein Duw, ac ymddiried yn ein gilydd yn dra dymunol. Pe y gallem gyrhaeddyd y ffydd a'r hyder hwnw yn ein gilydd, ac yn ein Duw, fel pan y gofynom ffafr y medrom wneyd felly gyda llawn sicrwydd a gwybodaeth y bydd i ni dderbyn, onid ydych yn canfod y byddai i hyny ein harwain ni yn uniongyrchol i wneyd fel yr ewyllysiem i arall wneyd i ninnau, yn mhob cyflawniad ac amgylchiad bywyd. Cyffröai hyn ni i wneyd, nid yn unig cymmaint ag a ddymunid, ond ychwaneg. Os y deisyfai

brawd i chwi fyned gydag ef filltir, chwi a elech ddwy; os y gwysiai chwi am eich pais, chwychwi a roddech iddo eich cochl hefyd. Mae yr egwyddor hon yn ein cynnorthwyo i wneyd yr oll a allwn i ddwyn yn mlaen leshad ein gilydd, achos Duw ar y ddaear, a pha beth bynag a ddymuno yr Arglwydd i ni ei wneuthur; gan ein gwneyd yn barod ac ewyllysgar i'w gyflawni ar unwaith. Mae eisiau iaith angylion i adrodd ein meddylddrychau, at ymddyddan a'n gilydd mewn modd y gellid ein deall yn berffaith. Pan y gwelom ac yr amgyffredom bethau yn yr Ysbryd, aml y gwir deimlwn hollol analluogrwydd i'w cyfuno a'u hadrodd yn ein hiaith ni i ereill; er y dichon i ni dderbyn egwyddorion, a throsglwyddo yr unrhyw i ereill, i ryw helaethder. Byddai yn gysur mawr i mi, yn gymmaint a bod ffydd yn dyfod trwy glywed gair Duw, pe y meddiannwn iaith i adrodd fy nheimladau. Ni all un dyn draethu yr oll a ddichon iddo ei weled yn yr Ysbryd, pan y byddo gweledigaeth yr Ysbryd arno. Efe a fedr weled a deall yn yr Ysbryd yn unig. Nis gall ei draethu, er hyny gellir rhoddi llawer o bethau mewn rhan i ereill.

Yr oeddwn yn meddwl, tra y llafarai un o'r brodyr ar egwyddorion penodol, mor brydferth, ac mor foddlongar a fuasai i'r Saint, pe y gallent ymddyddan mewn iaith bur; pe y gallent gael iaith angylion i ymgyfranogi a'u gilydd ynddi. Myfi a ddwys ystyriais yr egwyddorion a berthynant i iachawdwriaeth—yr egwyddorion y buom yn ceisio eu gosod o'ch blaen chwi: sef, gweithrediadau dynion, a'r modd y dylid eu trefnu ger bron eu Duw. Myfi a ddywedaf yn syml, mai rhaid yw i ni dalu sylw i'r dyledswyddau a osodwyd arnom, cyn y gallwn fwynhau ein breintiau.

---

## DAMMEG!

O GAM i gam i lawr grisiau tryloew gymylau y nen, dau fod gogoneddus a gydgerddent yn mlaen; yr un lliw oedd eu gwisgoedd â gwlith y wawr; ac adlewyrchiad tanbeidiol eu dysglaer goronau, fel mellt ehedegog, a oleuai eu hawyrgylch o'u blaen. Yn unig yn y dyfrfyd pell, anial, megys seren fach unigol a fa'i alltud yn eigion yr entrych glas, rhyw ynys fach werdd a welid yn tawel hepian ar ei fron;—at hon cyfeirient eu

camrau. Ar ol sengu o'u gwadnau uwch-ddynol ar ei gwyrdd-las garpet godidog hi, adleisiad eu hanthemau addoliad-ol yngororau yr ynys a greai y fath fwynber fiwsig, nes y meddylid fod holl delynau y nef yn cadw gwyl eu tiriad i'r lle, —holl fwyn gantorion y coedwigoedd cylchynol a gymmysgent eu lleisiau a phob peth hyfrydol o fewn y lle,—i roesawu y dyeithriaid i'w paradwys newydd. "Fy anwylyd brydferth dlôs," ebe y naill, dan siriol wenu ar a chofleidio y llall, "crwydrasom yn mhell bell o'n cartref; nad sawl myrdd o ardderchocaf ogoniant ein rhyw mewn bydoedd ereill a welais, eirioed ar âel bryn mewn unrhyw fyd ni fu dy ardderchoc-ach—nad faint fy nghariad atat oedd, tra mewn cylchoedd uwch y troais, am i ti fy nilyn yma yn awr cei gadw allwedd y nghalon byth mwyach: er hardded lliwiau y plyfod mân, diswyn eu lliw i'r llygaid pan syllaf ar dy rudd;—eu mhwyn-eiddiaf gân i'm clystiau i nid miwsig yw—dy lais a swyna f'enaid; tyr'd etto cân fy anwyles lon, gan ganu a gawn ni yma ein hoes o ganu? Er mai unig ydym ar yr ynys hyn, llonaid byd i mi yw'th gwmni. Pe hebot ti gwagedd yr oll—tydi yna yr oll fydd genyf;—yn baradwys troi y fan lle y byddi, a gwledd byth mwy fydd dy gwmni." Yr wylaidd un, pan edrychai i lawr cywilyddiai y *rose* a'r *lily*;—ei llygaid llon, pan eu troes i'r lan, i syllu ar ei hanwylyd,—a siriol wên ei gwyn-ebpryd hardd! ïe, yn siwr, gwir a ddywed mai gwledd i'r enaid yw syllu arni! Hithau, fel pe heb glywed gair a ddywed, nac ystyried ei hymfodol harddwch, a yngano̲dd;"—Fy Arglwydd fy Iôr! fy ngwr wyt ti; a gaf fi yma byth mwy dy gwmni? Pleser fy enaid yw dy garu, un adduned etto rho, byth mwy ni cheisiaf ychwaneg; sef, a gaf fi yma aros ger dy fron a mwyn-hau dy gwmni yn oesol? Cei, ti gei, fy anwyl wraig fod yn *un* a mi yn dragywyddol; tyred gyda fi yn awr i weled prydferth-wch yr ynys."

Rhyfeddodau y lle a'u boddiodd yn fawr, tra y rhodianent o amgylch,—adar y lle a'r plyfog lû yn asgordd a'u canlynent: y friallen a'r rhosyn a'r holl flodau ynghyd yn esmwyth tan eu gwadnau, a'r glaswellt o'u blaen a ymgryment;—holl anifeil-iaid y lle, o'u hamgylch gan falchder a prancient. Cangau y coed dan or-lwyth o bob ffrwyth a ostyngent eu penau i lawr, a chymhellent eu hunain i'w eu Mhawrhydi. Yn orfoleddus

cyrhaeddodd yr oll ororau gogleddol yr ynys; oddi yma yr olygfa oedd hardd! yn yr eithafion ni welid ond y ffurfafen lâs a byd o ddwfr yn cyfarfod; o tanynt crogai creigiau danneddog a ryfelent â chynddeiriog donnau yr oesoedd, o bob rhuthr rhuai taran—drych oedd i adlewyrchu ser y nen—yr enfys yn yr ewyn a ymddysglaeriai. Dychrynai yr osgordd rhag y rhuferthwy; y ddeuben yn unig a fentrasant i'r olygfa—ar glogwyn, tyfai pren, ei gangau a hongient uwch ben y môr, ar ba rai tyfai ffrwyth tecach na'r oll i'r golwg; estynodd ei llaw i'w gyrhaedd, eithr y geulan yn fradwrus dan ei thraed a'i gollyngodd i lawr i'r dyfnder! "Och fi; fy ngwraig, fy anwylaf un! paham, paham y'th ollyngais!" dolefai ei phriod mewn ing calon tra yn rhythu dros y clogwyn. Gyneu, y dedwyddaf un, yn awr y truenusaf; beth a wnaf? ai bod yma fy hun, byth yn ddigynydd! O, na, neidiaf ar ei hôl canys diflas yw yr oll o'm hamgylch mwyach; O! y mae hi wedi boddi! Ond ust, beth a glywais? Ust yr awel, paid a thrwstio yn nail y coed; ust, adar oll a'ch hysgrechan, credaf i mi glywed ei llais o'r dyfnder," ebe yr anedwydd un, tra yr estynai ei wddf i rythu dros y clogwyn; hyd dreng braidd, attaliai ei anadl i wrandaw. "Ie, dacw hi ar frig y don. Drwy'r ewyn oll mi a'i gwelaf; i lawr, i'r lan—a'i freichiau ar led, am fywyd ymwinga. O! llyfna'th wyneb egr fôr, neu cynnal hi ar dy donau. Adleisiad ei gwaedd sydd ar fy nghlust! O! fy anwylyd ymdrecha am foment yn hwy, byw neu foddi wele fi gyda thi;" ac ar hyny neidiodd ar ei hol! Yn awr, mi a'i gwelaf ar y wyneb; *anon*, y don a orchuddia ei ben, a phob ton a'i lluchia yn nes atti. Ei gwenwisg yn awr a leda i'r don—ei llaeswallt a orchuddia ei gwyneb! Un ymdrech etto gwna—un pranc rho, O! dyma efe wedi ei chyrhaedd! Côl ynghôl yn awr y maent, eithr beth well er hyny; canys y glanau haiarnaidd serth, yn greulon a fygythiant eu dynesiad: ni allant eu dringo chwaith pe caffent. I'r dwyrain ymnofiant ynghyd,—ha! ar bwys gwelant lan isel fanteisiol—i hon yn wyrthiol diangant. Unwaith etto eu traed ar dir, ymgeleddant eu gilydd oreu a allent. Hir nychnod a ddilynodd y dygwyddiad anffodus i'r wraig, yr hwn a droes yn gryd dyddiol. Yr oedd y parth hwn o'r ynys yn wahanol i'r fan y cwympasant o hono;—yn llawn dyrysni ac annuniciddwch. Bwystfilod yma oeddynt elyniaethus, a'r seirph

a fygythient eu gwenwyno. Eu hawyrgylch yn awr a wisgodd gymylau dudew yn arlarwisg, a'u ffurfafen a arllwysai ei dagrau yn hidl am eu penau. Teithiasant o amgylch ogylch y lle i chwilio am fynedfa i'r ardd yn ol, ond yn ofer; canys, yn mhob cŵr, uchel greigiau fel muriau anferth a'u rhwystrent. Rhag i'r drain a'r mieri rwygo eu crwyn, lladdasant anifail a gwnaethant ddillad o'i groen; o'r diwedd sefydlasant yn y fan oreu a gawsant; adeiladodd y gwr fwthyn, a bwytasant lysiau, a'r hyn a gaffent nes y codasant gynyrch o'r ddaear: dofasant anifeiliaid at eu gwasanaeth. Yn mhen amser magasant deulu lliosog, a daethant i fywoliaeth weddol gysurus; oddieithr bod yr holl blant yn cael y cryd oddiwrth eu mham, yr hyn a'u gwanychai yn eu byd; er hyny ni ellid iachau yr un o honynt. Cyn i'w penllwydni syrthio i'r bedd, gwelodd yr hen bobl blant eu plant yn eppilio eu rhywogaeth hwythau; hyd oni phoblogwyd y rhan hono o'r ynys a hiliogaeth liosog o *grynwyr*.

O dad i fab dysgwyd mai effeithiau cwympiad eu cyndad i'r môr oedd eu hafiechyd; a grwgnechid yn gyffredinol i'w erbyn, gan rai tra y crynent fel dail aspien; a chan ereill pan godent eu penau wrth eu caledwaith i sychu y chwys oddiar eu gwynebau. Cofient oll am yr ardd odidog lle na buasai orfod gweithio byth. Ar rhyw ddydd gwyl blynyddol o'u tlriad ar yr ynys eu brenin, canys yr henaf o'u hil a deyrnasent yn olynol, a'u cyfarchodd fel hyn;—Blin genyf glywed eich grwgnachrwydd yn erbyn ein cyn-dad; oni ddeallwch mai cariad at, ac awydd i achub bywyd ein cyn-fam a barodd iddo neidio dros y clogwyn ar ei hol; am y gwyddai na allasai hi ei hachub ei hun. Pwy o honoch ar na wnaethai yr un modd dan y cyffelyb amgylchiad? Hefyd deallwch nad oedd gwraig arall a allasai gael; o ganlyniad, pe na achubasai efe hi, parhausai yn y cyflwr digynydd ac annedwydd hwn hyd ei ddiwedd; ac ni buasem ninau, neb o honom, wedi ein geni! Nid ei fai ef oedd iddi hi gwympo; o herwydd yr oedd ganddi hithau ewyllys ei hunan fel person unigol; ac nid allaf ei beio hithau gymaint, gan mai dyben da oedd ganddi, ond felly llithrodd y geulan; ef allai ei bod hi dipyn yn rhy drachwantus; a phe felly nid yw boddio y llygaid ond greddfol yn y rhyw yn ol a welais i ynoch chwithau. Bellach fy mhlant rhoddaf derfyn ar y grwgnachrwydd hwn fel y canlyn; dewiswch i chwi y

gŵr goreu a feddwch o'ch plith a deued gyda fi. "Ac efe a gymmerth yr hwn a ddewisasant yn gynrychiolwr ac a'i cauodd mewn ystafell ac a gyfammododd i'w gadw ef a'i deulu rhag effeithiau y cwymp, os efe ni chyffyrddai a'r ddysgl oedd wyneb i waered ar y ford o'i flaen hyd oni ddychwelai efe. Y trachwantwr wedi ei fynediad allan a fethodd orchfygu ei drachwant; eithr wedi yspio o'i amgylch nes boddloni ei hun nad allai neb ei weled, a phenderfynu na chyffyrddai a dim oedd oni tanodd, ond ei weled yn unig a gododd ymyl y ddysgl yn ofalus; ac er ei syndod neidiodd llygoden fach allan, ac ymaith a hi i'w thwll. Deallodd yntau ei bod ar ben, ac arhosai y canlyniad. Ar gais y Brenin, adroddodd yr oll o flaen y dorf, a chydsynasant hwythau a'u cynrychiolwr fod y demtasiwn yn orfodol ar eu nhatur. "Felly yr ydych chwithau oll cynddrwg â'ch cyn-dad." ebe yr hen batriarch, "am hyny na feiwch arno mwyach." Bu hyny yn feddyginiaeth i bobl yr ynys byth mwy.

Wele y ddammeg sydd wirionedd! Pwy a'i deongla? Y mae egwyddor yn mhob gosodiad, yn dwyn cyssylltiad a holl hîl Adda; beth ydynt, pwy a'u mynega?

---

## LLENYDDIAETH Y LLYN HALEN.

(Allan o "Democratic Press," Chicago America)

MAE gan bobl y Llyn Halen neillduolrwydd nodweddiad cryf. Ceir y bod eu sefydliadau teuluaidd, cymdeithasol. a gwladwriaethol, yn gystadl a'u sefydliad crefyddol. yn gwahaniaethu oddiwrth yr oll ereill sydd gan y byd wybodaeth am danynt, Mae yr amgylchiadau a'u hamgylchodd yn flaenorol i'w ffoadigaeth o Nauvoo, a'r rhai eu lleolir danynt yn awr, yn tueddu i'w gwneyd mewn llawer ystyr yn bobl sy genedl wrthi ei hunan. Meddyliant yn wahanol, siaradant yn wahanol, ac ysgrifenant yn wahanol oddiwrth bobl ereill. Gwneir hwynt yn wneuthurwyr gan angheurhaid, a galwodd hyny allan y meddyliau mwyaf ymarferol yn eu plith i gymmeryd yr arweiniad yn eu gorchwylion. Mae Brigham Young yn ddyn nodedig. Prawf ei hun yn gyfartal i bob achos pwysfawr. Mae ynddo ef ffrwythlondeb o ddyfais nad yw byth yn ffaelu, grym a'i dwg yn fuddugoliaethus trwy ei holl anturiaethau, a phenderfyniad ag y sydd yn symud yn mlaen heb ei frawychu gan anffawdd neu rwystrau; yr hyn a ymddengys

anorfod. Mae rhai o'i gydswyddogion yn rhyfeddol fel yntau, mewn perthynas i'r pethau hyn; eithr efe yw ysbryd symudol a hëoleiddiol Utah.

Ond yr hyn y bwriadasom gyfeirio ato yn awr, ydyw neillduolrwydd y Llenyddiaeth Formonaidd. Y mae yn gyfaddas i'r bobl ac i'w hamgylchiadau. Yn ëofn, yn egnïol, yn hyderus, ac yn gryf yn ei thalaeth, hi a gymmer afael ar feddyliau y rhai a anerchir ganddi, a hi a wna bob un dyn megys llu. Nid oes yno wastraffu geiriau, dim ymgais ar ol addurn, dim cynnyg at lyfnhau, bychan y gofal am reolau areithyddol, neu hyd y nod gramadegol; ond y mae pob brawddeg yn arwyddocau rhywbeth, a chanddi fêr, gewyn, ac asgwrn cefn cryf. Rhoddasom ychydig yn ol i'n darllenwyr ddyfyniad hir o gyhoeddiad diweddar Brigham Young, gyda golwg ar fygythiad gelyniaethus yr Indiaid yn Utah. Bydd i bob un a'i darlleno, ac a ŵyr unrhyw beth ynghylch y bobl a edrychant at Young fel eu pen, ddywedyd ei fod yn gywir y peth. Yn gywir y peth i anadlu hyder ynddynt eu hunain a'u Llywodraethwr, ac i greu dygasedd at yr Indiaid. Yn gywir y peth i gyffroi pobl drwsgl i weithrediad, ac i wneyd pob un dyn yn arwr.

---

## SYLW AR YR AMRYSON DWYREINIOL.

Pa beth yw'r cwmwl erchyll du
  Sy'n codi yn y dwyrain draw,
Gan lwyr gynhyrfu'n daear gu,
  Trwy nerth ei chwäon oddi draw?

Clywch, *clywch* y twrf dychrynllyd sydd,
  O lenydd pell y Ddanube fawr;
A'r grochlef ûch ei dyfnder rydd
  Ei hadsain drwy ororau'r llawr.

Och! clywir yno chwerw gri,
  Y dewr yn trengu ar y ma's,
A gwaed ei galon red yn lli',
  Gan droi yn wrid y borfa las!

Clywch dwrf magnelau yn y wlad,
  Lle bu llonyddwch heddwch hir;
Gweryrau'r meirch a bloedd y gâd,
  Sy'n aflonyddu ar ei thir.

Trwst carnau'r meirch gynhyrfa'r byd,
  Darpara i ryfel lawer gwlad;

A'r mawr fagnelau drystia'n nghyd,
Gan gyflym dramwy tua'r gâd.

O heddwch têr flodeuyn nef,
A wyt ar fyn'd o'r byd y ma's,
A yrwyd di gan ormes gref,
Heb le i roi'th ben dan awyr las.

Yn fuan gwelir tywallt gwaed,
Mewn gwlad na rydd it' deilwng barch
A'r tir na f'o yn safle'th draed
A sethrir gan y brwydrog farch.

*O ban i ban* dros wyneb byd,
'Does ond amryson broch a brad;
Y celwydd goelir braidd o hyd,
A'r gwir wrthodir yn mhob gwlad.

Am hyn, â'r cerwynt yn ei fla'n,
A'r dymhestl gyfyd yn ei nerth;
Holl bleidwyr twyll a drenga'n lân,
A'r chwâ a'u gyr i uffern gerth.

Can's odd y gogledd cym'rwyd cledd,
Yn gosp ar annuw am ei ddrwg;
Ac odd y byd cymmerwyd hedd,
Gan Ddnw'n gyfnewid am ei ŵg.

NATHAN DDU O LYWEL.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MAWRTH 25, 1854.

CYNNADLEDD DDWYR. MORGANWG,—Mae yn dda genym ddweyd ei bod yn gwella yn gyffredinol a pharhaus drwy y cylchoedd hyn; llawer ydynt yn derbyn y doniau ysbrydol yn ddiweddar, a weddiasant flynyddau am danynt; cariad ac undeb yn cynnyddu, a sêl adnewyddol yn y swyddogion am achub eu cyd-ddynion; amryw fedyddiadau, a phregethwyr yn mhlith ereill, ac argoelion daionus yn cynnyddu.

GORLLEWIN MORGANWG.—Argoelion gwella ac ymfywhau a glywir oddiyma, a'r hen gariad yn ymadnewyddu yn gyferbyn-

iol i ymdrechiadau y Saint i ymsanteiddio, a gwneyd eu crefydd; swn bedyddio mynych a glywir, eithr ni hysbysodd y Llywydd ni y rhif yn ddiweddar.

MYNWY.—Bedyddiwyd yma dros ddeugain er y Gymmanfa, a llwyddiant cyfartal mewn doniau a phob daioni; undeb cyffredinol, a hyder gref fod llu wrth y drws. Buan y delont.

LLANELLI.—Ymffrostia y Llywydd fod mwy o gariad a ffyddlondeb, yn y Gynnadledd hon, nag a welodd er ys blynyddau;—bedyddiadau mynych, a'r swyddogion fel yntau yn penderfynu ymryddhau oddiwrth eu cyfrifoldeb i'w cyd-ddynion, drwy dystiolaethu yn effeithiol mewn geiriau ac ymarweddiad, a thrwy ymdrechu ymryddhau o'u dyledion mor gynted ag y gellir. Efelycher hwynt.

CAERFYRDDIN.—Hysbysir ni fod rhyw gyffroad adnewyddol yn y Gynnadledd hon er yn ddiweddar, a phenderfyniad cadarnach yn y Saint i fyw yn unol â'u proffes bwysig, yr hyn dan fendith eu Duw, yw y pregethwr grymusaf i bob carwr y gwir. Ychydig ddyddiau yn ol, bedyddiwyd efrydwr o Athrofa y dref uchod, a mawr y cynhwrf a achosodd hyny! Cymherth ei Dad y drafferth o ddangos ei sêl yn erbyn efengyl Mab Duw, trwy ddyfod o bell ffordd yn bwrpasol i argyhoeddi ei fab o'r gwallgofrwydd, heb wybod beth oedd, amgen na chredu cam-ddarluniadau y pregethwyr a ddelent heibio iddo, debygwn, pa rai fynychaf a gariant lonaid eu *saddle bags* o fwcci bo, i ddychryn dynionach rhag ufyddhau i genadwri y nefoedd drwy ei weision Ef. Wedi methu llwyddo i beri i'w fab gredu mai twyll y dystiolaeth a dderbyniasai eisoes gan Dduw o ddwyfoldeb y grefydd, treiodd beth a wnai ei fygythion: esgymmunodd ef o'i dy ac o'r Athrofa, a diarddelodd ef o'r berthynas anwylaidd! Oll, o herwydd dylanwad anwireddus yn ddiau: canys amheuwn yn fawr a oes undyn synwyrol a ymddygai felly o herwydd unrhyw egwyddor a broffeswn. O, na, o herwydd yr hyn *nid* ydym ein beir bob amser braidd. Ymgysured ein brawd newydd yn y Duw graslawn a roddes iddo ef dystiolaeth megys ag i ninnau, a gwybydded yn ddiau mai tra yr ufyddhäo i'r grefydd a ddysgir gan y Saint, nad yw efe amddifad o Dad; ond ei fod wedi cael Tad can mil gwell na'r hwn a'i gwadodd o herwydd arferyd ei ryddid, yn gydwybodol tuag at ei Dduw. Ysbryd y gwirionedd a'i dilyno, ynghyd a'i gyfoedion cywir

galon, ac a'i gwnelo yn fendith i'w dad a'i deulu, fel Joseph gynt, ac i luoedd ereill.

PENFRO DDEHEUOL.—Ysgrifena y Llywydd Price na fu cyfnod, pan y rhoddodd y swyddogion a'r Saint fwy o brawfiadau o'u hawydd i dduwiol fucheddu ac achub eneidiau, nac a arddengys eu sêl frwdfrydig bresennol. Ysbryd yr Arglwydd a fyddo yn dywalltedig ar eu holl gyfarfodydd, nes y mawr lawenhaont yn mendithion yr efengyl.

Ymchwiliad i mewn i'r egwyddorion gan y byd sydd yno, fel yn gyffredin, yn cynhyrfu meddyliau puraidd gau athrawon y wlad. Tameidiau melys yw rhyw awgrymiadau, oddiwrth wrthgiliwr neu o'r Dyffryn, a dueddant i beri casawyr yr efengyl orfoleddu; dengys hyny eu chwaeth, ac a'r cyffelyb egwyddor a archwaethant oreu yma, eu porthir eu gwala yn y byd a ddaw:—eithr y mae gormod cwmwl o dystion geirwir am y Dyffryn i gyfiawnhau unrhyw ddyn am gredu anwireddau gwrthgilwyr, hyd y nod oddiyno; heblaw fod Ysbryd y gwirionedd yn cyd-dystio a'r blaenaf.

SIR Y FFLINT.—Cynnaliwyd y Gymmanfa hon yn Brynbo, Chwef. 12: y cynrychioliad oedd fel y canlyn: 19 Henuriaid, 4 Offeiriaid, 4 Athrawon, Cyfanrif, 100. Undeb dyben ac ymdrech cyffredinol drwy y cangenau yn cynyddu. Dysgwylir yn obeithiol weled ffrwyth mawr oddiar lafur ychwanegol y Gynnadledd fach hon pan gynheso gwres haul y nef eu gwythienau; yr hwn, fel pelydrau haul y boreu, a gyrhaeddo bob calon.

---

## BEDYDDIAD PREGETHWYR.

YR HYBARCH LYWYDD JONES,—Buom 40 mlynedd yn aelod gyda'r Bedyddwyr; a phan glywais am y Saint, penderfynais eu gwrthwynebu gan belled ag yn fy ngallu. Bwriadais dori pen y Saint a'u cleddyf eu hunain; ac i'r dyben hyny, olrheiniais eu llyfrau: ond po mwyaf y chwiliwn i'w hegwyddorion athrawiaethol, pellaf o hyd yr awn gyda hwynt, gan gredu y gwirionedd, a chymmerais fy medyddio.

Gwedi cael o honwyf y dystiolaeth addawedig, gan yr Arglwydd, dechreuais bregethu mawr allu Duw, i'm cyd ddynion; a deallais yn fuan mai gwirionedd y dywediad, "Y neb a ewyllysio

fyw yn dduwiol yn Nghrist Iesu, a erlidir.'' Dioddefais lawer triniaeth chwerw yn fy nheulu, na ddymunwn ei harddangos i'r wlad ar hyn o bryd, o herwydd agosrwydd y berthynas; tarawyd fi yn fy mhen a maen, gan wr, oblegid i mi gyflawni fy swydd trwy fedyddio un a ddymunai hyny; a throes fy hen gyfeillion crefyddol i'm difrïo, heb i mi wneyd yn waeth na thystiolaethu wrthynt ddarfod i mi gael gafael ar y grefydd Apostolaidd, ac y mwynheir doniau yr Ysbryd Glân, ynghyda holl freintiau yr eglwys gyntefig, gan Saint y Dyddiau Diweddaf.

Modd bynag cynnorthwyodd yr Arglwydd fi hyd yma: os cefais orthrymder, cefais orfoledd hefyd, gan ddwyn gofid a chael cysur, y naill ar gyfer y llall. Llwyddodd fy Nuw fi yn rhyfedd; ac wrth edrych yn ôl, gwelaf i'r oll gyd weithio er daioni, ac y cydgymmysgwyd y gwahanol amgylchiadau cyffrous a'm cyfarfuont megys i un gwpan felus odiaeth.

Cefais y fraint fawr o fedyddio amryw; a chan y dygwyddodd mi fedyddio rhai gwyr cyhoeddus, dichon y caniatewch i mi eu henwi, fel y gallo darllen eu henwau dueddu at ddwyn ereill, o'u cyffelyb, i ystyried a chanfod ychydig o werthfawrogrwydd crefydd Mab Duw.

Un a fedyddiais yw y brawd, a elwid, "Y Parchedig David Davies," Porth Cawl, Gweinidog gyda yr Annibynwyr, Cafodd ef dystiolaeth, a llawer o'i erlid yn herwydd cyhoeddi hyny.

Nos Sadwrn, 19eg o'r mis hwn, bedyddiais y Parch John James, Gweinidog y Bedyddwyr, yn Cefn Coed y Cymmer, ynghyda phregethwr Ieuanc perthynol i'r unrhyw addoldy.

Cyfarfyddodd y brawd J. James, a'r bobl, yn Nghapel y Bedyddwyr, bore dranoeth, i'r dyben o derfynu eu rhwymedigaethau i'w gilydd; a daeth lliaws ynghyd y prydnhawn, i weled cadarnhau y ddau frawd. Fy ngweddi sy bellach ar Dduw, am iddynt gael a derbyn tystiolaeth gadarn iddynt eu hunain, fel y gallont alw ar eu holl hen gyfeillion i ddyfod a cheisio y cyffelyb fendith, ac i gydlawenhau a hwynt yn y gras mawr hwn.

Da genyf allu eich hysbysu i mi gael llythyr o Gaerfyrddin, yr wythnos ddiweddaf, i'm hysbysu ddarfod iddynt, wedi fy mynediad oddicartref, fedyddio Efrydwr ieuanc perthynol i'r Ysgol, lle y dysgir pregethwyr ynddi gan ddynion. Cadarnhäwyd ef ar lan y dwfr; ymroddodd i weddio yn daer; ac yn mhen wyth awr a deugain, cafodd dystiolaeth eglur; ond, o herwydd iddo ddy-

wedyd am yr hyn a wnaeth yr Arglwydd i'w enaid, cafodd ei droi o'r Ysgol, o'r Capel, ac o dŷ ei dad! Onid rhyfedd, fel y mae proffeswyr Cristionogaeth yn cashau crefydd Crist? Gan ddymuno achubiaeth pob dyn, ïe, hyd y nod yr erlidwyr crefyddol, ydwyf eich ffyddlon frawd.

*Caerfyrddin.* THOMAS JONES.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH JOHN PARRY.

*Sant Sior, Mawrth* 13, 1854.

ANWYL LYWYDD JONES,—Yr wyf yn ysgrifenu atoch fyr hanes o sefylifa bresennol Cynnadleddau y Gogledd. Yr wyf yn deall fod y Llywydd T. Jeremy, eisoes wedi anfon i chwi ychydig o hanes ansawdd Cynnadledd Sir Fflint. Cynnaliasom Gymmanfa Sir Ddinbych yn Abergele. Cawsom Gymmanfa dda, a phob un o Lywyddion y Cangenau yn dweyd fod y Saint mewn undeb da â'u gilydd, a golwg am lwyddiant yn yr amser dyfodol, trwy fod amryw yn credu, a rhai wedi addaw cymmeryd eu bedyddio bron yn mhob cangen. Bedyddiwyd un boreu Sul y Gymmanfa yn Abergele, a bedyddiwyd tri er y Gymmanfa mewn gwahanol gangenau. Mae amryw wedi addaw y cymmerant eu bedyddio; rhai yn mhob cangen o'r Gynnadledd. Mae gwell argoelion yma, yn bresennol nag a fu er ys amser; nid oes yma ddim un gangen yn amddifad o ddoniau yr Ysbryd Glân, ac yr ydym yn ymdrechu cael rhagor o honynt; ac nid ydym yn foddlon byw islaw ein breintiau, eithr y mae eich cynghorion da a buddiol trwy yr UDGORN, yn dwyn bendithion adnewyddol i'n plith, trwy i ni eu gweithredu.

Hefyd, ymweliad y Brawd T. Jeremy â ni fu yn llesol ac adeiladol, trwy ein bod wedi profi gallu yr Offeiriadaeth yn ei ddilyn, a'r Saint yn cael eu boddloni yn fawr trwy ei addysgiadau.

Cawsom Gymmanfa dda hefyd yn Llanrwst, Dyffryn Conwy. Yr oedd yr holl Swyddogion a'r Saint yn gadarn yn y ffydd, ac yn Tystiolaethu yn dda am eu cangenau. Mae tri neu bedwar wedi addaw cymmeryd eu bedyddio yn fuan. Aethym gyda'r brodyr Jeremy a Roberts trwy y gwahanol gangenau, a chawsom hwynt yn lled dda, sef Bethesda a Chaernarvon. Aethom oddi yno i Gymmanfa Sir Feirionydd, yr hon a gynnaliwyd yn Harlech; cawsom amser da yno gyda'r Henuriad J. Davies a'r

awyddogion ereill; yr oedd pob peth yn cael ei gadw yn ol rheolau yr Eglwys, ond ychydig o lwyddiant; etto, fe addawodd tri neu bedwar gymmeryd eu bedyddio, a gobeithiaf mai felly y bydd yn fuan.

Yn debyg i'r uchod mae sefyllfa y Saint yn y Gogledd yn awr, eithr hyderaf y caf y fraint o yru hanes mwy o fedyddio y tro nesaf. Fy nghofion atoch yn garedig, ac at y Brodyr T. Jeremy a D. Daniels.

Ydwyf eich brawd yn yr Efengyl,

JOHN PARRY.

O. Y. Derbyniais lythyr o Ddyffryn y Llyn Haleu Fawr, dyddiedig Rhagfyr 30, yn cynnwys newyddion da am Seion a'i phreswylwyr; sef, bod heddwch yn teyrnasu yno, a phawb yn gyffredin yn mwynhau iechyd: a chymbella yn fawr i ymdrechu dyfod yno Y mae hyny gyda phethau ereill, yn brawf eu bod mewn lle *da*; pe amgen, byddent yn waeth nâ'r uffernolion, oblegid nid ydynt hwy yn ewyllysio i'w brodyr ddyfod attynt i'r lle drwg.—J. P.

---

## Y SECTAU YN CAEL DADGUDDIADAU O'R DIWEDD.

Nos Lun. Ionawr 30. Y flwyddyn hon, wedi cyfarfod gwresog mewn Capel, yn Mhen y Cae, Sir Fynwy, gofynodd y Gweinidog i rai o'i bobl fyned gydag ef i ymofyn a'u prophwyd; ac wedi eu myned i dŷ pregethwr cynnorthwyol, bu iddynt hwy, ac un o'r *Wesleyan Reformers*, osod eu dwylaw ar fwrdd trithroed; a chyhoeddasant, iddynt holi y bwrdd, a chael ganddo yr atebion canlynol.

Gofynai y Gweinidog, A oedd ein cyfarfod yn lliosocach heno nag arferol.

*Ateb.* Oedd.

*G.*—Ai ysbryd da ydwyd ti?

*A.*—Ie, ysbryd da.

*G.*—A oedd ein addoliad yn gymmeradwy yn y nefoedd?

*A.*—Oedd.

*G.*—Pa hyd y bydd i'r rhyfel barhau?

*A.*—Hyd i fis Mai.

*G.*—Pwy a goll?

*A.*—Nicholas.

*G.*—Pa bryd y cwymp Anghrist?

*A.*—Yn mhen y ddeuddeng mlynedd.

*G.*—A yw ail briodas yn iawn?

*A.*—Ydyw.

*Gofynai y Diacon,*—A ddaw y parchedig o Gwm Amman atom nos efory?

*A.*—Daw.

*G.*—A ddaw Mr. Rees, hefyd?

*A.* Daw.

*Gofynai y "Wesleyan Reformer."* A yw yn iawn gwrthwynebu y Wesleyaid?

*A.*—Ydyw.

Er nad aeth Mr Rees, i Pen y Cae dranoeth, ac er iddo, drwy beidio, brofi nad gwir yr oll o ddywediadau yr "*ysbryd da,*" byrddiog, etto cred y crefyddolwyr swyngyfareddol hyn mai braint aunrhaethadwy ydyw cael y fath ddadguddiadau! Ond hwy, gyda'u dewiniaeth, ydynt o nifer y rhai a erlidiant y Saint yn ffrom, o herwydd y dywedant fod Duw yn dadguddio ei gyfrinach i'w weision y prophwydi.

T. MASON.

---

## GOFYNIAD.

MR. GOL,—Da fyddai genyf gael clywed trwy gyfrwng yr UDGORN, beth yw yr achos i fod y cwrw yn cael ei wahardd i'r Saint wneyd defnydd o hono. Ai am ei fod yn feddwol, neu a oes rhywbeth arall mewn golwg. Boddlona atebiad i'r uchod lawer heblaw LISBOND.

---

### ATEB I'R UCHOD.

Nid yw yr Eglwys yn gorfodi, eithr yn cynghori y Saint i ymwrthod â gwlybyroedd meddwol, gan esgymmuno y rhai a feddwont, oddigerth iddynt edifarhau. Gallesid tybied fod synwyr cyffredin yn ddigon at arwain dynion i ystyried, mai llawnach bwyd-gistiau, taclusach cefnau, a siriolach teuluoedd a fyddai ganddynt trwy brynu, yn lle gwario; mai gwell iechyd a fwynheid, trwy fwyta ac yfed pethau glân, na thrwy draflyncu trwythion gwenwynig; ac mai mwy dylanwad, a thawelach mynwesau a feddiannai y rhai na seriwyd eu cydwybodau, trwy ym-

fuchedda yn santaidd, gan ymgadw oddiwrth lymeitian. Pan ffir y trwythion syfrdanllyd, bydd i berffeithrwydd sobrwydd golli graddau cyfartal i raddau yr effaith feddwol a deimlir oddiwrth eu hyfed ; ac ni phreswylia yr Ysbryd Glân gydag ysbrydion aflan.

Mae gwyr sobr, cyfiawn, a duwiol, yn ennill dylanwad ar ereill, yn cynnyddu mewn ffafr gyda Duw a dynion, ac yn gwneyd daioni mawr bob ffordd; ond rhai, wedi ymollwng i ddiota, a gawsant deuluoedd grwgnachlyd, a chollasant eu dylanwad yn mhlith pobl dda : aethant yn wrthodedig gan yr eglwys, yn ddirmygedig gan y byd, yn fwrn ar eu perthynasu, ac yn geluneddau drewllyd, o dan ddigllawn farn Duw.

---

## ARWYDDION YR AMSERAU.

Mawr, ac ar ei gynnydd, ydyw gwallgofrwydd rhyfelgar amherawdwr Rwssia ; ac er mai y grefydd Gristionogol a gymmer yn esgus tros ymladd, ni chaniata ef ryddid i unrhyw grefyddwyr bregethu a gwasgaru llyfrau, o fewn ei amherodraeth, ond i eiddo eglwys Groeg, pen yr hon eglwys ydyw ef ei hun ; ond caniateir rhyddid yn Twrci i bob crefydd, ac ystyrir y Cristionogion yno yn gyfartal eu hawliau a'u breintiau gwladwriaethol i'r trigolion genedigol, er mai y grefydd Fahomedanaidd a broffesir gan y llywodraeth. Yr 11eg o'r mis hwn, cychwynodd Llynges Prydain o Portsmouth, i'r dyben o ddwyn archdeyrn Rwssia i'w bwyll: llywyddir hon gan Syr Charles Napier, ac arweiniwyd hi allan gan y Frenines Victoria, y Tywysog Albert, Tywysog Cymru, y Tywysog Alfred, a dwy o'r Tywysogesau breninol, ar fwrdd yr agerfad *Fairy*, yngolwg miloedd o edrychwyr gorlawen, yn cydfloeddio a'r morwyr "*Duw a gadwo y Frenines!*" Ni welwyd y fath lynges. o ran grym, prydferthwch, a medruswydd byddinol erioed o'r blaen. Yr oedd nifer menywod Prydain yn 512,361, tros ben nifer y gwrrywod eisoes : eithr gan na chaniateir ond pedair menyw i bob un catrawd o'r milwyr ymfudol, ychwanegir y mwyafrif menywod, yn gyfartal agos a nifer y gwrrywod a ddanfonir i ryfel. Cyd rhwng ymadawiad gwyr oddiwrth eu gwragedd, y gyfraith unwreigiaeth, ac ymfudiad meibion lawer i wledydd pellenig y byd, llaiheir poblogaerh Prydain gyda chyflymdra bellach. Mae y Geri marwol yn tori ymaith ei luoedd yn

Lloegr, yn Alban, ac yn Iwerddon y dyddiau hyn: cymmerwyd 31 o bobl Glasgow yn glaf mewn un dydd, a 30 tranoeth. Bu daeargryn arswydus yn *Calabria*, yn ddiweddar; difäwyd eiddo, werth miloedd o bunnau; taflwyd tai, yn bendramwnwgl; ymroliwyd creigiau, yn dibyndobyn; a lladdwyd tros 2000 o'r trigolion yn y galanastr aruthrol ac ofnadwy. Dirwasgir pobl gan eisiau bwyd, ar y cyfandir; a dyblir y dreth, a enwir "*Income Tax*," yn y deyrnas hon, o herwydd y rhaid cael yn agos i *dair miliwn o bunnau* yn ychwaneg y flwyddyn yma, na'r un flaenorol, o herwydd y liosogwyd nifer y milwyr a'r llyngeswyr mor fawr. Anhawdd yw dirnad y difrod a wneir ar ddynion, ac ni ellir dywedyd pa pryd na pha le y derfydd yr ymgyrch rhyfelog presennol. Hoffem fod gyda y Saint, yn Seion; eithr ewyllys yr Arglwydd a wneler; a thra yr ymddygom yn ol ei ewyllys santaidd Ef, bydd i bob peth gydweithio er ein daioni; canys gwna Efe i gynddaredd dyn ei foliannu, trwy agoryd ffordd, i fynedfa yr Efengyl dragywyddol, at holl wahanol bobloedd y byd i gyd.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

☞ Nac anghofied Llywyddion anfon eu cyfraniadau at y Cymdeithas Ymfudol Barhaus, a'u cyfraniadau at y Deml yn y chwarter hwn, mewn pryd i'w hanfon oddiyma i Lerpwl, Ebrill 1af, yn gyd-fynedol â'r drefn sefydlog i hyny.

DERBYNIADAU O CHWEF. 15 HYD CHWEF. 22.—Dwyr. Morganwg, £1 19s 6c.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street*, *Merthyr-Tydfil*.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14 CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

Rhif. 13.] EBRILL 8, 1854. [Cyf. VII.

## DYWEDYD YN DDRWG.

GAN Y LLYWYDD S. W. RICHARDS.

Daeth yr arferiad o ddywedyd yn ddrwg mor gyffredin, yn mhlith agos i bob gradd o ddynion, ac mor gydwauedig a phob ystod mewn bywyd, fel na ddianc ond ychydig rhag yr euogrwydd sydd yn canlyn y fath arferiad. Dichon i'r drwg a wneir gan y cyfryw ag a ymhyfrydant yn y drygioni atgasaf hwn, ymddangos i rai megys gwegi; eithr nis gall felly, ond i'r rhai ag ydynt wedi ymgynnefino ag ef, fel nad allant ganfod ei dueddiad dinystriol. Efallai na chyflawnir unrhyw bechod yn fynychach, gan rai a broffesant eu bod yn Saint, na'r un o ddywedyd yn ddrwg; ymddangosant hyd yn hyn fel heb eu dysgu am y dylanwad grymus a ellir ei reoli gan y tafod, er dedwyddwch neu druenusrwydd dynolryw. Ymddangosant fel pe heb ystyried y bod un gair yn mynych ddistrywio yr ymddiried ag y sydd yn rhaid iddo gael teyrnasu yn benaf lle bodolo dedwyddwch, ac mai aml y mae yn cynnyrchu ëangach niwed, na braidd unrhyw weithred ddrwg arall a ellid ei chyflawni; ni ddysgasant etto wylio ar eu geiriau fel pe byddai pob gair yn offeryn bywyd neu angeu—yn fendith neu yn felldith, i'r rhai hyny a ddeuant o dan ei ddylanwad.

Mae cyfraith Duw yn dra manwl yn ei gofyniadau ar y pwnc hwn, yn gymmaint felly na all na gwrryw na benyw a ymhyfrydo yn y fath ddrygioni gael eu hachub, am ei fod yn drosedd gwarthus o'r gyfraith. Darparir swyddog gan gorfforiad yr

Offeiriadaeth santaidd, dyledswydd arbenig yr hwn i'w edrych na arferir dywedyd yn ddrwg yn mhlith y Saint, na chwaith y bodola yr enllib, na'r caledwch sy beunydd yn gyssylltiedig a'r arferiad. Byddai i gyfraith yr Offeiriadaeth Santaidd, ond ei gweinyddu yn fanwl, wahanu yr un euog o gamwedd mor wrthun oddiwrth gymdeithas y Saint; a phan weinyddo swyddogion teyrnas Dduw mewn perffeithrwydd ger bron yr Arglwydd, bydd i'r pechod hwn, a'i holl ganlyniadau drygionus beidio yn hollol. Dylai gochel y drwg hwn, fod yn fyfyrdod y Saint, yn mhob sefyllfa bywyd, yn neillduol os yn meddiannu ar sefyllfa amlwg ym mysg y bobl—neu un lle y dysgwylir i'w pob gweithred a gair fod yn bortread i'r bobl. Cawsom achlysuron i sylwi ar y pwysigrwydd o hyn, yn neillduol gyda Bugeiliaid a Llywyddion a elwid i ddilyn y naill y llall yn eu llafur gweinidogaethol. Dadorchuddir yr egwyddor yn ebrwydd pan y byddo i Henuriad, wrth ddilyn i le un arall, anghymmeradwyo ffordd a llywodraethyddiaeth gyffredinol ei ragflaenydd, a gwneyd dinystriad y llywodraethyddiaeth sydd yn bodoli at ddwyn gorchwylion yn mlaen, yn orchwyl blaenaf, gan eu hanghymmeradwyo yn gyhoeddus, a sefydlu cynlluniau newyddion i weithredu yn ol ei olygiadau a'i dueddiadau neillduol ei hun.

Pan gymmerir y dull hwn, gwneir hyny yn gyssylltiedig a nodiadau a chrybwylliadau a dueddont i ddistrywio gwaith a dylanwad y rhai a fuont o'r blaen; er y dichon i'w hymdrechiadau fod yn fawr, i'w llafur fod yn ddi ball, ac i'w dybenion fod yn bur, yn unol a'r goleuni a'r gwybodaeth a feddianent, a chymmaint felly ysgatfydd ag unrhyw ddyn a allasai eu dilyn. Mae Duw yn sicr o gyflwyno gwobr gyfiawn ar yr holl fath lafurwyr ffyddlawn. Pan y galwer Henuriad i ddilyn un arall, gweddai ei fod yn fyfyrdod ganddo i warchod tros les a dylanwad y brawd hwnw, fel yr ewyllysiai yntau gael gwarchod ei eiddo ei hun dan y cyffelyb amgylchiadau. Ni ddylai un dyn dybied, am foment, nad yw y llywodraethyddiaeth a fabwysiadwyd gan arall yn un gyfiawn, yn unig am ei bod yn gwahaniaethu oddiwrth yr un hono a ddewisai ef. Dichon fod gwahaniaeth dull i weinyddu ac etto yr oll wedi eu hargymhell gan yr un Arglwydd, megys ag y mae amrywiaeth doniau trwy yr unrhyw Ysbryd. Hysbysir ni gan yr Apostol, "Y mae

amryw weithrediadau, ond yr un yw Duw, yr hwn sydd yn gweithredu pob peth yn mhawb." Yn awr os gwir yw hyn, pwy a fedr eistedd mewn barn ar ei frawd, o herwydd fod ganddo ei fodd neillduol o weithredu, ac anghymmeradwyo hyny, heb ddyfod dan gondemniad? Gwahaniaetha dynion yn eu tueddiadau, tymher, ac ysbryd, a Duw ydyw awdwr y gwahaniaeth hwnw; ac nid oes gan neb hawl i ddywedyd yn erbyn ei frawd, oblegid i Dduw ei ddonio fel hyn, tra y mae ei ddymuniadau a'i ymdrechiadau i gynnal cyfiawnder yn nghanol dynolryw, ac adeiladu teyrnas Duw. Er fod yr egwyddor hon yn wir, ac yn hanfodol i sylwi arni, nid yw yn ymyraeth mewn nn modd gyda'r cyfrifoldeb a orphwys ar bob un i gymmeryd dull cyfaddas at gywiro drygau lle bynag y bodolont; ond nid yw dull dyn i gynnyrchu drwg o anghenrheidrwydd, yn herwydd ei fod yn gwahaniaethu mewn rhyw bethau oddiwrth ddull un arall.

Pan ddysgo dyn y gwirionedd, bydd iddo wybod, os cymmer ef yr hyfdra i ddywedyd yn erbyn ei frawd, yr adfesurir yr unrhyw fesur iddo yntau yn ol, os yw Duw yn eirwir. Dichon i ddyn wneyd drwg, a'r weithred hono yn dra chyfyngol yn ei dylanwad, tra y dichon i arall ddywedyd am y drwg hwnw wrth rai nas gall fod ganddynt reolaeth drosto, a chynnyrchu cyfanswm o niwed cyhoeddus a phersonol ei natur a fyddo braidd yn annherfynol.

Mae yr amser wedi myned heibio, y dichon i ddynion hawlio perthynas gyda phobl Dduw, ac ymhyfrydu yn y fath arferiad heb eu dirmygu; a lle gwnelo Dysgawdwyr eu dyledswydd, bydd i'r fath bersonau, pa un bynag ai uchel ai isel, ganfod eu hunain mewn perygl o gael eu galw i gyfrif, ac, ysgatfydd, yr ymddygir atynt yn unol a chyfreithiau yr Eglwys; tra y bydd i'r oll ag ydynt wybyddus o'r urdd uwch, ac o gyfammodau yr Offeiriadaeth santaidd, deimlo gradd o ddigofaint, na ddichon ond eu hunain fod yn alluog i'w deimlo.

Nid oes gan neb yn nheyrnas Dduw hawl i gyhoeddi ac i wneyd yn hysbys feiau ereill, ond yn unig i'r rhai sy ganddynt hawl i geryddu a chospi y troeseddwyr. Nis gall ond drwg darddu o unrhyw ffordd arall, ac ychwanegu drwg at ddrwg sy waith yr Un drygionus. Os cenfydd dyn ddrygioni yn ei frawd, a chanddo i'w gynghori a'i geryddu, ei ddyledswydd ydyw ym-

drechu a allo i ddywygio y brawd hwnw, wrtho ei hunan; os na lwydda, yna ei fraint ydyw hysbysu y ffeithiau yn yr achos wrth y Dysgawdwr, hawl yr hwn, trwy rinwedd ei swydd ydyw gweled na byddo drygioni yn yr Eglwys, a hwythau mewn undeb a allant ymdrechu achub y cyndyn; os na allant ynghyd lwyddo i droi yr euog oddiwrth ei drosedd, yna gellir ei ei ddwyn ger bron Cynghor yr Eglwys, ac ymddwyn ato yn gyfreithlawn. Hyd na chymmerer y dull hwn, nid oes gan neb hawl i gyhoeddi ac i areithio yn erbyn drygioni brawd. Gradd o nodded rhag dynoethiad yw hyn, a drefnodd Duw yn ddoeth i'r oll ag ydynt yn ei deyrnas, fel y caffont gyfleustra i ddiwygio eu beiau cyn cael o honynt ddylanwad drwg ar ereill. Pan genfydd dyn ddrygioni neu gyndynrwydd mewn un nad oes ganddo allu i'w alw i gyfrif, ei fraint ydyw hysbysu hyny i un sy ganddo awdurdod yn yr achos, ac yna bydd ei odreuon ef yn lân, a'r pechod yn gorphwys gyda rhai y sy ganddynt allu i'w roddi ymaith, a chan y rhai y rhaid gwneyd iawn a'i gwared oddiwrth gyfiawnder y gyfraith. Rhaid i'r Saint sylwi ar yr egwyddorion hyn yn eu holl gwsmeriaeth a'u gilydd, neu ni allant byth etifeddu bywydau tragywyddol.

Gwnaed llawer o gyfnewidiadau yn ddiweddar, a llawer o Henuriaid teithiol sydd yn cael eu galw, ac a elwir etto, i lenwi lleoedd y rhai a ymfudasant; a dywedem wrth yr oll o'r cyfryw, bendithiwch eich rhaflaenwyr, trwy gynnal eu dylanwad yn mhlith y bobl, ac na cheisiwch byth adeiladu eich hunain ar ddinystr rhai ereill. Os bendithiodd yr Arglwydd y rhai a fuont yn eich rhagflaenu, rhoddi iddynt galonau y bobl, trwy yr hyn y cawsant allu i wneyd daioni, na fyddwch eiddigeddus, ac ofni na rydd yr Arglwydd galonau y bobl i chwithau hefyd. Os ceisiwch iachawdwriaeth y bobl, a dymuno a'ch holl galon wneyd daioni iddynt, rhydd yr Arglwydd i chwi yr oll ag ydych deilwng o hono, a'r oll a alloch ei reoleiddio i'w ogoniant Ef. Os na rydd yr Arglwydd i chwi galonau y Saint am nad ydych deilwng o honynt, chwi a geisiwch yn ofer am eu cael. Ni raid i un dyn fod yn eiddigeddus o'i awdurdod, dylanwad, na gallu. Os oes ganddo rywbeth gwerth ei feddiannu, efe a'i derbyniodd oddiwrth Dduw, ac erys gydag ef gyhyd ag y byddo deilwng o hono; ond os na bydd iddo ei anrhydeddu, ymâd oddiwrtho, ac yntau a gyhoedda ei ffolineb ei hun trwy

ddangos ysbryd eiddigeddus am yr hyn y teimla ei fod yn ei adael ef. Y dyn hwnw a werthfawroga ei fendithion fel yn dyfod oddiwrth ei Dduw, ac a deimla i gydnabod ei law Ef yn mhob peth, a ganfyddir bob amser yn llwybrau doethineb, a hwy ydynt heddwch. Darfydded pob ymddyddanion drwg o blith y Saint; y maent yn llygru ymddygiadau a moesau da, ac yn distrywio teimladau da hefyd. Byddwch ofalus am ddedwyddwch eich gilydd, carwch eich gilydd, a cheisiwch am iachawdwriaeth pawb; yna cewch ymddangos yn waredwyr ar Fynydd Seion, i fwynhau gwobr oludog y gwaredigion, a dyfod yn wasanaethwyr ein Duw am byth.

---

## "Y MORMONIAID."

"Mae y bobl resynus hyn yn prysuro o'u gwlad yn heidiau tua chymmydogaeth y Llyn Halen. I chwyddo y fyntai, ar yr 28ain o'r mis diweddaf, gwelid amryw o'r dref hon yn cychwyn ar fwrdd agerddlong i Le'rpwl, gyda bwriad o gyfeirio tua'r Ganaan ddychymmygol y tu draw i'r dwfr. Yn eu plith yr oedd hen wraig, 87 oed, yr hon a broffesai ei hyder cryf o weled ei hen wr (sydd wedi ei gladdu er's blynyddau) ar ol tirio yno, a'i anrhegu â hosanau cynhes, pa rai, er profi gwirionedd ei ffydd, yr oedd hi wedi ymdrafferthu i'w gwau, er cynhesu traed un oedd wedi oeri er's cymmaint o amser. Prin y gallwn ganmol ymddygiadau y bobl hyn, o herwydd os credant wirionedd eu crefydd, dylent, cyn bod yn deilwng o Ganaan, ymdrechu mwy nag a wnaethant ar ran eu cyd-ddynion, er eu goleuo am ddymunoldeb y fangre ddedwydd, yn lle troi eu cefnau ar unwaith, a'u gadael mor amddifad yn yr hen anialwch. Ow! Ow! yr ydym wedi synu drachefn a thrachefn fod neb yn ngwlad oleu yr ysgolion Sabbothol yn rhoi coel i'r fath drwyth o ynfydrwydd anysgrythyrol! Dengys fod genym waith mawr i'w wneyd etto, i oleuo a sefydlu y wlad yn egwyddorion syml ac anmhrisiadwy gwir Gristionogaeth."

Syned a syno, a ammheuodd na ammheued yn hwy, ond cywilyddied a berthyno, y mae yn rhy wir, fod hyd heddyw yn aros, mewn gwlad "Gristionogol!" yn "Nghymru oleu!" yn Sir Aberteifi, ïe, yn nhref Aberystwyth, ŵr o Gymro, a feiddiodd gyhoeddi y twsw uchod mewn rhyw bapyryn a elwir yn "Wasg,"

ei hunan. Mr. Gol., a'i lluniodd, a'i hysgrifenodd, ac a'i cyhoeddodd;—drych yw, ynte, yn yr hwn ei gwelir ef o'i goryn i'w sawdl, ac aroglir aflan sawyr anwireddus bwll ei galon erchyll ynddo. Myned â hosanau o Sir Aberteifi yn fwriadol i gynhesu traed ei gwr oedd wedi marw er's blynyddau, aie! A goeliwch chwi, hyd y nod eich hunan, Mr. Gol. fod y fenyw hono, na neb o'r Saint yn bwriadu dim o'r fath beth? Os gwnewch, y mae genych gryfach ffydd, y fath ag yw, nag sydd gan neb o'r Saint ar a wyddom. Os credwch hyny, paham na chwiliwch i mewn yn fanylach i'w daliadau a'u hargyhoeddi, neu gael eich argyhoeddi, drwy resymau argyhoeddiadol a charedig, yn lle cyhoeddi y fath *fwcci bw* â'r uchod? Onid mwyaf eich cywilydd chwi nad argyhoeddasoch hwynt, a hwythau yn gymmydogion agos i chwi; nid ydych chwi yn argyhoeddwr grymus, naill ai o ddiffyg gwirionedd i'w hargyhoeddi o hono, neu o ddiffyg ymdrech ynoch chwi. Pa un Mr. Gol.? Mae eich cwynfaniad, druan, yn cyfaddef, fod cryfach dylanwad gan y Mormoniaid nâ'r eiddych chwi; ai tybied nad cyfystyr hyny a chyfaddef mai ganddynt hwy y mae mwyaf o wirioneddau argyhoeddiadol,. a'r cyfarthiad uchod o'ch safn chwithau, yn profi paham y gwaeddodd y cadno hwnw "grawn surion!'

"Ow, ow!" Golygydd Newyddiadur Cymreig yn byw am flynyddau yn yr un wlad â, ïe, ynghanol "heidiau o Formoniaid," ac heb ddeall mai anwiredd noeth, disail, a diachlysur iddo a gyhoedda, tra y gwyr pawb ereill fod ei ystori wedi ei chynllunio o ddefnyddiau enllib, ei gwau a'i chordeddu bob edefyn o honi o garth garw athrod,—Mr. Gol., y gweudd, a'r "Wasg" o Aberystwyth yw y gwŷdd a'i gweua. Rhaid ei fod yn baganaidd arw os na ŵyr well na hyn; ac o ganlyniad yn gyfrwng anheilwng i gyfarwyddo y "Wasg," "cyfrwng dysgeidiaeth yr oes." Os gŵyr well, yna rhaid ei fod yn gynllaniwr, ysgrifenwr, argraffwr, a chyhoeddwr anwiredd gwybodus! Y fod un sill o wirionedd yn ystori yr hosanau, heriwn ef na'r byd i'w brofi. Y gallai efe wybod hyny sydd eglur, o herwydd mai Saint oedd cynnifer o'i gymmydogion, y distadlaf o ba rai a brofasent hyny iddo yn y fan; o ganlyniad, y mae ei gyfaddefiad ef ei hun yn ei wneyd yn Olygydd celwyddog' ffordd bynag y troa; a gwaeth etto, celwyddau ar grefydd ei gymmydogion, y peth anwylaf a feddant, yr hyn a'i prawf yn amddifad o grefydd ei hunan, er nad faint e

ymffrost o fod yn "ngwlad oleu yr ysgolion Sabbothol." Os dyma'r fath Olygyddion a droir allan o ysgolion Sabbothol Sir Aberteifi, Duw y gwirionedd a gadwo Lenyddiaeth ein gwlad allan o gyrhaedd sawyr andwyol eu hanadl hwynt. Canmoliaeth wael yw cyhuddiadau celwyddog ar grefydd eu cymmydogion, i gymmeriad ysgolion Sabbothol; etto dyma a geir gan eu canmolwr Golygyddol hwn. Onid gwell i'r athraw ysgol ei alw yn ol i ddysgu yr hen wersi da yn y catechism a ddywed,—"Na ddywed gelwydd yn erbyn dy gymmydog."

Beia y Mormoniaid am ymfudo mor fuan; etto ni ddywed pa hyd y bu rhai o honynt yn pregethu hyd heolydd a thai Aberystwyth, nad sawl blwyddyn y buont yn ymladd yn erbyn ei anwireddau ef ac ereill, gan gynnyg egwyddorion syml ac anmhrisiadwy gwir Gristionogoeth i'r Gol. hwn a'i gyfeillion; ond tebyg y dymunai fod yr hen wreigen 87 mlwydd oed yn aros yn hwy er iddo ef gael testunau "synu drachefn a thrachefn," wrth ei ystoriau dychymmygol ei hun, pan mai y syndod fyddai at ei ddwlni ei hun, pe yr ymholasai hyd y nod â'r "hen wraig," neu rai o'r Saint, ynghylch beth a gredent! Ymresyma hwn fod ymfudiad y Saint yn gwrthbrofi "GWIRIONEDD EU CREFYDD," o herwydd, ebe fe, "*Os credant* WIRIONEDD EU CREFYDD," ni ddylent ymfudo mor fuan, pan o'r ochr arall y mae eu hymfudiad hwy mewn ufydd dod i'w crefydd, yn ffaith amlycach nag a ddyry unrhyw broffeswyr yn y wlad eu bod yn credu gwirionedd eu crefydd. Ac felly, o chwith y gwel efe yma etto! Eithr, cyfaddefa ein cyfaill mai gwirionedd yw crefydd y Saint, gwelir, a dymuna ddeall ychwaneg o honi, debygid, ac ar yr un anadl geilw hi yn "*drwyth o ynfydrwydd anysgrythyrol!*" Gellid deall ei fod ef wedi dysgu digon o'r fath drwyth â hyny eisoes, yn yr ysgolion Sabbothol neu le arall, fel na raid i'r Mormoniaid aros yna i'w ddysgu ef. Ië, a'r Gol. croeshaeriadol, enllibus a gwyrgam hwn a ddywed, "Dengys hyn fod GENYM waith mawr i'w wneyd," sef y '*ni*' olygyddol, 'NI y *gwir* gristionogion!' A chan ddechreu ar y gwaith mawr, wele ei ergyd cyntaf efallai, sef cyhoeddi fod cymmydoges iddo ef ei hun wedi gwau hosanau yn bwrpasol i gynhesu traed ei gwr yn California, yr hwn oedd wedi marw er ys blynyddau yn Nghymru! O! ffei rhag y fath fawr waith, a'i fawreddog weithiwr, ynghyd ac ar yr hwn a'i gosododd ar y fath waith, sef tad y celwydd.

"Gwir Grlstionogaeth" hollol ysgrythyrol a gredir gan y "Mormoniaid,"—eu harweinydd anffaeledig yw Ysbryd Duw, yr hwn a brawf wirionedd ein haeriad, i'r neb a ufyddhao i ofynion dwyfol ein crefydd, drwy gael ei fedyddio er maddeuant, ac efe a dderbyn "ddawn yr Ysbryd Glân," yr hwn a dystia iddo mai chwedlau disail yw "ystori yr hosanau," y "cerdded ar y dwfr," y "gwyrth y pastwn," fel y "brogau a'r pren pwdr," a'r mil ond un, neu fil ac un, o ystoriau ereill a gyhoedda Golygyddion, ac a bregetha duwinyddion yr oes am danom; a deallir yn eglur mai o herwydd y fod gan y Saint y "wir Gristionogaeth," ac y fod y gwir yn erbyn y gau ac yn erbyn y byd, y cynhyrfa hen nwyd pob gau grefydd i'w hymladd hi a hen gleddyfau rhydlyd enllib ac anwiredd.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, EBRILL 1, 1854.

Teyrnas Dduw.—Adeiladu Teyrnas Dduw yw dyledswydd flaenaf, benaf, a phwysicaf pob dyn; hyn a ddylai fod ei brif amcan, a dylai wneyd i bob peth a fedda, pob cyfleustra a gaiff, a phob talent o'i eiddo, fod yn wasanaethyddol i hyn. "Eithr yn gyntaf, ceisiwch deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef," oedd dysgeidiaeth ein Harglwydd i'w gyd-oeswyr, a phe sengai yr un traed dwyfol ar ororau Cymru yn awr, credwn mai ei floedd gyntaf a fyddai ar bob gradd, ac ar *bawb*, nad beth eu proffesiadau, deuwch i mewn i deyrnas Dduw! Mae y pwysigrwydd o fod yn nheyrnas Dduw mor hunan eglur i ni, fel na allwn feddwl am ddim i'w gystadlu ag ef. Bod yn ddeiliaid o deyrnas Dduw yw cael bod yn blant i Dduw; a bod yn blant yw bod yn etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â'n Harglwydd Iesu: yr hon etifeddiaeth a gynnwys ynddi bob bendith ysbrydol a daearol, presennol a thragywyddol; ïe, can mil mwy o bleserau, llawenydd, cyfiawnder a gogoniant, nag a ddaeth i

galon dyn erioed i'w ddychymmygu; yr hyn oll a addawa ein Harglwydd gyd-etifeddu a'i frodyr ffyddlon o'r un-dad dwyfol, pan sicrha yn ddios,—" A'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg." O'r ochr arall, mewn gwrthgyferbyniad, gwelir, mai colli pob peth sydd yn werth ei gael, yw peidio dyfod i Deyrnas Dduw, a chael, ond yr hyn y byddai yn elw i'w golli.

Ar yr iawn ystyriaeth o'r pwysigrwydd o adeiladu teyrnas Dduw, ymddengys y pwysigrwydd o iawn gyfarwyddyd i mewn iddi, o herwydd anmhosibl i neb adeiladu teyrnas Dduw tra y byddo oddiallan iddi ei hunan; eithr, gan ein bod yn cyfarch yn fwyaf neillduol ein brodyr a gawsant y fawr-fraint fel ninnau, o fod yn ddinasyddion o'r deyrnas hon, ni raid ymhelaethu wrthynt hwy; etto, nid digonol er cyflawni y gorchymyn dwyfol, yw ceisio nes cael y *ffordd i mewn*, a boddloni ar hyny; eithr dyledus i bob un wedi cael hyny, yw ceisio "*adeiladu*" y deyrnas.

Mae llawer yn ngallu pob aelod i'w wneyd er adeiladu teyrnas Dduw, a'r prif o'r cyfan yw byw yn ol ei broffes, a mwynhau cyflawniad o addewidion Duw i'w blant; nad beth arall a wna heb wneyd hyn, nid yw yn adeiladu teyrnas Dduw yn effeithiol. Gweithredu ei "gyfiawnder ef" yn amlwg i'r byd yw yr effeithiolaf i gael gan ereill wneyd hyny, a chael dyn i fyw yn gyfiawn ac yn dduwiol, yw adeiladu teyrnas Dduw; canys, nid yw teyrnas Dduw mewn bwyd a diod, eithr "cyfiawnder, tangnefedd, a llawenydd yn yr Ysbryd Glân."

Y ffordd y dylai y rhai a gawsant gyfran o offeiriadaeth y Brenin—a anfonwyd yn genadon drosto, ag yr ymddiriedwyd iddynt "air y cymmod," i adeiladu ei deyrnas, yw drwy *berswadio* ac nid trwy ddychrynu, na gorfodi, eithr drwy *berswadio* deiliaid teyrnas Arch-elyn ein Brenin i adael ei deyrnas ef a lliosogi rhifedi deiliaid y teilwng Frenin: i hyn yr anfonwyd hwynt, hyn a ddylai fod eu prif orchestwaith; er cyflawni hyn dylai pob peth fod yn wasanaethyddol. Gan ein bod ni wedi dyfod iddi ein hunain, gwyddom y ffordd i ereill ddyfod drwy yr un drws, gan nad oes ond un drws, ac i allwedd y drws hwnw gael ei hymddiried i ni, cofier nad i *gadw y drws yn nghlo* y rhoed ef i ni, ond i'r dyben o'i DDAD-GLOI mor fynych ag y ceir galwad i hyny. Gan fod ystorom ofnadwy ar oddiweddyd y rhai sydd oddi allan, a ninnau yn gwybod hyny, gwyliwn na

bo neb yn ein cyrhaedd a ewyllysia fyned i mewn, pe caffai wr yr allwedd i agor y drws iddo. Ein dyledswydd yw myned ar eu hol hwynt, eu chwilio allan, chwilio tai eu cymmydogion, chwilio y trefydd, y wlad, yn nhyllau y ddaear, ac ar greigiau a mynyddoedd ein gwlad; helwyr ydym, heliwn hwynt o bob plaid a diblaid; ni ddylem adael neb yn llonydd; canys, nid oes neb ond nyni a allant eu dwyn i mewn; o herwydd mai i ni yr ymddiriedwyd yr allwedd, ac o herwydd na ŵyr neb fel nyni y pwysigrwydd o'r peth.

Frodyr Llywyddol!—Cyd-weithwyr yn ngwinllan, a chydfilwyr yn myddin yr Iesu! Ymddeffrown, ac ymegnïwn â'n holl alluoedd i'r gwaith pwysig o ennill dynion i enlistio o dan faner ein Brenin; mae y byd drwyddo oll braidd, yn berwi fel crochan, cyfeiliornadau o bob rhyw, fel clindarddach drain, a boetha ei ager; gwaed dynion yr hylif, a'r gelyn diafol ei hun yn ffaglu o dano! Mae y frwydr fawr olaf yn agoshau, yn ol pob argoelion, y mae ein Brenin ninnau yn galw am ddewrion i'r frwydr ysbrydol; ac hyderwn na chollir un cyfleusdra, na esgeulusir un ddyledswydd, ac na fydd dim yn ol a allwn ei wneyd er "adeiladu teyrnas Dduw."

Pleser mawr yw deall am ymdrechiadau adnewyddol Llywyddion, ac y fod llwyddiant yn gyferbyniol i'w diwydrwydd; ac etto y mae lle;—oes y mae lle i wneyd ychwaneg, tra y bo un oddi fewn ein cyraedd heb gael pob cynnyg, a'i heuoga am ei wrthod. Hyderwn na foddlona un Llywydd Cynnadledd ar lai na gweled pob canghen mewn iawn reoleiddiad ac undeb ffydd, a sel weledig drwy effeithiau yn cyd-adeiladu teyrnas Dduw yn mhob modd; na adawant na thref, ardal, ty na pherchen enaid heb gynnyg, heb *wahoddiad*, *cymhelliad*, a *thaer* erfyniad i ddyfod i'w deyrnas Ef. Hyderwn na foddlonir hwynt ar wneyd yr oll a allant eu hunain, heb gael pob swyddog ac aelod, y blaenaf yn enwedig, i'r un deimlad a sêl a hwy eu hunain; heb osod pob un yn y cylch cyfaddasaf i'w alluoedd, a rhoi iddo bob manteision a chefnogaeth er gwneyd pob daioni sydd ddichonadwy iddo wneyd, a bydd digon o le i ychwaneg wedi hyny. Hyderwn y gosodant bob Henuriad ac Offeiriad ar waith i lanw eu cylchoedd ac anrhydeddu eu swyddau gwerthfawr, na byddo un a broffesa y swyddau hyn, mewn un gangen o dan eu gofal yn esgeuluso ei dalent, nac yn

cael y swydd heb ei chyflawni, oddieithr bod rhyw achosion digonol iddo beidio, ac y mae y cyfryw yn anhawdd eu cael. Os gwna Henuriad addasach Athraw; os henaint, amgylchiadau, neu nad beth a'i hanalluoga i weinyddu fel Henuriad, gweinydded yn swydd athraw a bydded dad selog dros, ac awyddus i lesoli praidd Duw; y mae mawr anghen mwy o athrawon yn mhob cangen a welsom drwy'r wlad; crefwn sylw at hyny, llanwer y bylchau, lleihaer y dosparthiadau ac ychwaneger cryfhawyr y gliniau gweiniaid a meddygon y llesg; boed digon o rym i gario yr wyn yn mynwes yr eglwys, ac i goleddu y mammogiaid, fel na thristaer Ysbryd Duw o'ch plith o'r herwydd. Ni ddylai fod neb o'r Saint heb rhyw athraw yn ymweled ag ef neu hi yn wythnosol, a mynychach os esgeulusant eu dyledswyddau; onide, gwylier rhag y cyfrifoldeb os collir un enaid a allesid ei achub trwy fwy diwydrwydd!

Annogwn ein brodyr i chwilio oddiamgylch iddynt, beth yn ychwaneg a allant ei wneyd mewn unrhyw fodd er adeiladu teyrnas Dduw yn eu plith; i chwilio am fanau i bregethu; symud brodyr ffyddlon i fyw mewn lle nad oes Saint, ac ymeangu ar y ddê a'r aswy gyda sêl deilwng o'u "Brawd hynaf," bwyd a diod yr hwn oedd gwneuthur ewyllys ei Dad. Ynmhlith pethau ereill, cymhellwn eu sylw at y ffordd oreu i ledaenu yr *argraffedig air;* taener traethodau o dŷ i dŷ; a chymmerer traethodau gyda hwynt lle y pregethant; canys, pregetha y rhai hyny wedi yr elont hwy ymaith. Effeithiol iawn a fyddai cymdeithas draethodau yn mhob cangen, i fod at wasanaeth yr aelodau a feddent sêl digonol dros deyrnas Dduw, i fyned â hwy o dŷ i dŷ, a'u newid ar gylch; gall y chwiorydd ffyddlon wneyd hyn yn gystadl os nad gwell na rhai brodyr, ni wrthwynebid hwynt gymmaint gan elynion, eithr eu tystiolaeth sobr a ffyddlon a reddfai ynghalonau y caletaf debygwn, drwy Ysbryd y gwirionedd. Hynaws chwiorydd, a ganiatewch i ni eich gwahodd at y gwaith clodwiw o gynnorthwyo eich gwyr a'ch tadau i achub dynion yn y ffordd hon? Y wobr addawedig mai, "Y rhai a droant lawer i gyfiawnder a ddysgleiriant fel sêr y nefoedd mewn gogoniant," yn nghyd a chariad at leshad dynion a'n symbylo ni oll i ffyddlondeb a diwydrwydd yn hyn.

## HANES Y MOCWIS.

### HYSBYSIAETH ODDIWRTH YR HENURIAD P. P. PRATT.

*Dinas Ll. H. M. Tachwedd* 21, 1853.

MR. GOLYGYDD,—Ar y 13, o'r mis hwn, daeth i'r ddinas hon, o Mexico Newydd, Senores Jose Damion Giron, Thomas Chocon, Bicinte Charoes ac ereill.

Mae ganddynt ar werth rai cantoedd o wthbanau gwlan neu "*Serapas*," rhai o honynt wedi eu gwneyd gan Indiaid Navijo. Fel dangoseg o'r celfyddydau yn mhlith y bobl hyny, ac fel dillad o wneuthuriad cartrefol, y maent yn deilwng o nodded.

Mae ganddynt nifer o geffylau a mulod ar werth hefyd.

Cymmerasant ystafell yn yr 2il. Warchodfa.

Buont bedwar dydd ar ddeg ar hugain ar y daith, a gyflawnasent ar rai gweithiau mewn un dydd ar bymtheg.

Preswyliant mewn tref fechan oddeutu 50 milltir i'r gogledd neu ogledd-orllewin i Sante Fe, ar ffrwd a elwir y Chama, un deyrngedol i'r afon Rio Grande del Norte.

Teithiasant yn ogledd-orllewinol o'u tref, croesasant yr afon St. John, teyrngedol i Colorado, yr hon a gyfyd yn y mynyddoedd sydd ogledd-orllewin i Sante Fe; a dilynasant ffordd deheuorllewinol, gan fyned i'r Colorado islaw ceg afon Grande. Yr oedd yr afon, yn y lle y croesasant hi, oddeutu maint yr Iorddonen gyferbyn a'n dinas ni.

Ar y deheu i'r ffordd hon y mae gwlad y Navijos; ac yn mhellach i lawr, ar yr un ochr, y mae pentrefydd y Moquis, wedi eu hadeiladu o *adobies.* Y maent yn saith eu nifer; y benaf o honynt a elwir Oriba.

Mae gwlad y Navijos a'r Moquis yn dir teg da, coediog, o hinsawdd fwynaidd, heb nemawr auaf, yn gyflawn o borfeydd, ac yn cynnyrchu nifer fawr o wartheg, ceffylau, mûlod, defaid, gwenith, gwenith yr India, peatys, a melwn &c. &c.

Dwfrheir y wlad ar yr ochr ogleddol i afon St. John yn dda, gan ffrydiau teyrngedol yr afon hono, y rhai a gwympant iddi o'r Gogledd, yn mysg y rhai y mae el Rio de los Peadras, (Afon o Gerryg) el Rio de los Pinos, (Afon o Binwydd) el Rio Floredo, (Afon o flodau) el Rio de los Anemos, (Afon o Ysbrydion) Rio de la Plata, (Afon o arian) yn cyfartalu maint Afon Provo yn Nyffryn Utah; a niferoedd o ffrydiau llai.

Wedi croesi St. John, parhäodd eu ffordd yn orllewinol ychydig i'r gogledd, gan groesi yr holl ffrydiau yna. Mae y wlad yn dra chymhwys at amaethyddiaeth; ceir digonedd o danwydd yn mhob man, ac mewn rhai lleoedd goed Pinwydd da; eithr uwchlaw y cyfan y mae yn gyflawn o borfeydd teg, a'u pellter mwyaf heb ddwfr yn ddeunaw milltir.

Croesasant yr Afon Grande ychydig islaw yr afon Dolores; yna daethant tros wastadedd diwerth oddeutu 25 milltir, i'r afon Green, yr hon a groesasant ychydig islaw ceg yr afon White, ac uwchlaw y San Raphael; yr oedd yr afonydd Grande a'r Green oddeutu hyd hanner ochrau eu hanifeiliaid. Mae dyffryn teg ar y pwynt hwnw i afon Green, oddeutu deg neu ddeuddeg milltir ei hyd, gyda thir da, ac wedi ei derfynu gan gorsydd i fyny ac i lawr.

Oddiwrth y ffrwd hon ar afon Green, daethant tros fwrdd-diroedd o gymmeriad diwerth, nes taraw wrth afon White, ffrydlif o faint y Cottonwood fawr, yr hon sydd yn mlaen ar yr ochr arall i'r mynyddoedd o Spanish Fork. Gan ganlyn i fyny afon White, croesasant y mynydd mewn mynedfa dda, a daethant i lawr y Spanish Fork i Ddyffryn Utah.

Mae yr holl ffordd wedi ei diwallu yn gyflawn a dwfr a phorfa mewn pellderau cyfaddas; ac nid oes gan y dyffrynoedd ond ychydig eira neu oerni y gauaf. Dywedir fod gwlawogydd y wlad Navijo, ac ar y St. John a'i ffrydiau teyrngedol, yn ddigonol at eu gwrteithio heb eu dyfrhau gan ddynion.

Y fath yna mewn rhan, yw yr hanes a allasom ei chasglu oddiwrth ymddyddan gyda'r masgnachwyr a enwyd uchod; yr hyn sydd at eich gwasanaeth.

Yn Barchus,

P. P. Pratt.

---

## GWEDDI Y FFYDD YN IACHAU Y CLAF.

Yr 8fed o'r mis hwn, oddeutu haner y dydd, dygwyddodd fod George Davies, plentyn fy chwaer, 4 blwydd ei oedran, yn cydrodio a mi, gan afael yn fy llaw; clafychodd yn ddisymwth, a pharhäodd yn glaf iawn hyd chwech o'r gloch y prydnawn.

Gan fod traed y bachgen wedi oeri, a'i wefasau wedi duo, tybid y buasai farw mewn ychydig amser: eithr anfonais am yr Hen-

uriaid Griffith Davies, John Davies, a William Morgan, y rhai a ddaethant, ac a weinyddiasant arno, trwy ei eneinio ag olew, a gweddio trosto dair gwaith; a daeth y bachgen yn hollol iach yn y fan.

Cymmerodd hyn le yn nhŷ John Lewis Rhif 43, y Dref Newydd, Penycae, Mynwy: ac heblaw tad y bachgen, a'r Henuriaid crybwylledig, yr oedd yno ddau nad ydynt yn Saint; sef, Samuel Harries, a Mary Harries. A chan fod hyn yn wirionedd, am y ddawn ysbrydol, yr ammheuir gan rai i Dduw ei rhoddi trwy Grist i'r Eglwys, yn yr oes hon, dymunwn weled y llinellau hyn yn argraffedig yn "UDGORN SEION."

Ydwyf, &c.

HANAH LEWIS.

---

## FFRWYTHLONDEB TIR SEION.

DYFYNWN a ganlyn o'r "*Deseret News*," o blith llawer o arddangosiadau o ffrwythlondeb y wlad hono; os yr ymddengys i drigolion tir uchel a diffrwyth Gwalia, yn anhygoel, nid llai y ffaith er hyny.—"Wyth erw a'r hugain o dir o eiddo W. S. Muir, yn swydd Davis, drwy ymdrech pedwar dyn, a gynnyrchodd, yn y tymmor diweddaf, 15 tunell o wair; 1500 lbs o wenith; 12 tunell o ŷd yr India; 900lbs o geirch; a 40 tunell o gloron, heblaw cyfartalwch o beets, carrots, maip, &c.; 5 tunell o wynwyn a chabage; 4 tunell o lîn; 25 tunell o bwmcins squash a melwn; 25 tunell o borthiant heblaw hyny. Dechreuasant lafurio y 4 o Fawrth a gorffenasant Tachwedd 9.

Chwychwi dyddynwyr Cymru! Pa hyd y gwariwch eich amser gwerthfawr i wrteithio a gwneyd daear gynnyrchiol tra y mae dyffrynoedd breision drwy y byd heb drigianydd braidd? Paham y talwch y fath drethi a rhenti pan y gallwch gael, heb *arian* ac heb *werth*, gymmaint o'r dyffrynoedd breision hyny ag a allwch chwi a'ch plant, a phlant eich plant wneyd defnydd o hono? Pa hyd y magwch hiliogaeth o gardotwyr yma, tra y gallwch yno fagu meibion a merched *boneddigion?* Pa hyd y gwerthwch eich hiliogaeth i'r andwyol ddylanwad anfoesol, anwireddus, anghydffurfiol, cableddus ac anuwiol sydd yma; yn lle myned a hwynt i Seion, lle y gallant dyfu fel helyg wrth ffrydiau dyfroedd ac ymgyfeillachu hyd heolydd dinasoedd llonydd, gydag ieuengctyd

moesol, geirwir, boneddigaidd, gonest a heddychol? Ië, pa hyd chwi ffermwyr Cymru y gwargrymwch yn mlodau eich dyddiau, ac y gwelir eich plant mewn carpiau er mwyn gwisgo eich gormeswyr, a'u teuluoedd mewn sidanau, ac i yru eu cerbydau drosoch ar hyd yr heolydd, os na neidiwch i ben y clawdd o'u ffordd; tra y gallwch wisgo eich teuluoedd eich hunain felly, a mwynhau ffrwyth eich llafur heb ormesydd yno? Ac yn olaf, gofynwn i resymol dyddynwyr ein gwlad! Pa fodd y gallwch, paham y gwnewch lynu wrth hen goel grefyddau a thraddodiadau ein tadau a'u galw yn grefydd, hyd nes gwrthod gwir a dwyfol grefydd Iesu Grist yn ei grym a'i phurdeb gwreiddiol, yr hon a gymhellwn arnoch er ys blynyddau bellach, a chyflawnder ei bendithion tymmorol ac ysbrydol gyda hi? Beth yw'r atteb? A ammheuwch y dystiolaeth am y lle uchod? Y mae canoedd o hyd y nod Cymry unwaed a'ch hunain yno yn mwynhau y ffeithiau hyn, ac wedi anfon eu tystiolaethau cydgordiol au gwahoddiad i chwithau eu dilyn. Yr awydd ddyledus i'ch plant dibynol, ac i achub eich heneidiau eich hunain cyn y bo rhy ddiweddar, a'ch gorfodo i dderbyn bendithion nef a daear a gynnygir i chwi.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

NEWYDD ddyfod allan o'r wasg, "DADL *rhwng Bedyddiwr ac Anffyddiwr*!" Lle y gwelir yr olaf mewn 16 tud. yn dwyn Bibl a chrefydd y blaenaf, ac yn gwneyd iddo gyfaddef mai lladrad oeddynt iddo ef, ac yn cyfnewid enwau a'u gilydd; rhydd fwy na gwerth dwy geiniog o ddifyrwch i'r darllenydd, goeliwn ni!

HEFYD, daeth allan draethawd 8 tud., sef "*Anffyddiaeth Sectyddiaeth*;" lle y dilëir canolfur y gwahaniaeth tybiedig rhyngddynt, ac y ceir hwynt yn siglo dwylaw fel dwy chwaer undadol, am *ddim ond ceiniog!!*

☞ Atebwn ein gohebydd Wm. Thomas, Llwyni, na fydd gan blant rhiaint dwyfol gnawd ac esgyrn, eithr ysbrydion megys ag y buom ni oll: yn eu hail sefyllfa o fodoldeb yr ychwanegir atynt gorff o gig, gwaed, ac esgryn; ac yn eu trydydd sefyllfa, trwy adgyfodiad, os i ogoniant, y cant gyrff nefol; ac felly yn olynol hyd dragywyddoldeb, neu yrfa perffeithiad pob bydyssawd, eppiliant eu rhywogaeth, i rodio llwybrau eu tadau, i gynnyddu hyd gyflawnder, ac felly i lanw yn ddiddiwedd gylchdroadau, heb ddechreu na diwedd, fwy nag y sydd i fodrwy. I ni, hawdd yw amgyffred cynnyddiad hyd

gyflawnder y Duwdod, a chynnyddiad diderfyn hefyd. Pwy a brofa mai y byd bach hwn yw y cyntaf i'n Tad nefol ni ei greu a'l boblogi? Pwy ynte a ddywed mai hwn a fydd y diweddaf? Os nade, paham na chaniateir mai yr un fath y gwna bob un ag y gwnaeth hwn? Ystyriaethau cywir o'r cwestiynau hyn yn fyr, a foddlona ein cyfaill ond odid. Darlleniad manylach o sylwadau O. Pratt yn y *Seer*, a'i cynnorthwya i ddeall ein gosodiad blaenaf, a'r Llywydd B. Young a eglura ein holaf, yn ei sylwadau ar "*Natural Philosophy*," yn y *Journal of Discourses*, y rhai a fedda.

PREGETHWR DAWNUS —Mae y gwr hwn, os heb *wybodaeth* o ddwyfoldeb ei grefydd, yn debyg i'r magien ar glawdd, mewn lle tywyll, yr hwn sydd a chanddo ddigonedd o oleuni at ddangos ei hunan;ond heb ddim a ddichon ddangos y ffordd a ddylai dyn ei rhodio.

---

DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU, AM Y CHWARTER YN TERFYNU MAWRTH 31, 1854.

SIR Fynwy, £37 2s 9¼c; Sir Frycheiniog, £2 11s 8¾c; Gorllewin Morganwg, £95 12s 4c; Llanelli, £30 7s 11c Caerfyrddin, £11 5s 1c; Sir Aberteifi, £10 7s 9¾c; Sir Feirionydd, £8 11s 11¼c; Sir Fflint, £15 1s 0c¼; Dyffryn Conwy, £4 18s 11½c; Sir Ddinbych, £12 19s 1½c; Penfro Ogleddol, £3 8s 8½c; Sir Fôn, £12 0s 11¼c; Cangen Gymreig Liverpool, £2 1s 9½; Swyddfa Liverpool, 3s 9½c; Dwyreiniol Morganwg, £94 13s 0¼c.—*Mae y rhifyn hwn yn gynnwysedig yn yr uchod.*

DERBYNIADAU AM LYFRAU O FAWRTH 22 HYD 31.—Dwyreiniol Morganwg, £11 1s 6c; Sir Fôn, (gan J. W.) 10s; Penfro Ogleddol, £1 6s 10c; Brycheiniog, £1; Sir Ddinbych, £1; Sir Fflint, £2 3s.

☞ Crefwn sylw at y Dyled am lyfrau, ger eich gwydd yn y rhifyn hwn, yn enwedig y Cynnadleddau hyny na thalasant ddimeu yn y chwarter diweddaf ! ! !

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14 CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 14.] EBRILL 15, 1854. [CYF. VII.

## ABERTHIAD.

GAN Y LLYWYDD BRIGHAM YOUNG.

YN awr, chwi Henuriaid, y rhai ydych yn deall egwyddorion teyrnas Duw, pa beth na roddech, na wnelech, neu na aberthech, at gynnorthwyo mewn adeiladu i fyny ei deyrnas Ef ar y ddaear?—Ebe un, "Myfi a wnawn un peth yn fy ngallu, unrhyw beth y cynnorthwyo yr Arglwydd fi i'w wneyd, at adeiladu i fyny ei deyrnas." Ebe arall, "Myfi a aberthwn fy holl eiddo."—Rhyfeddol yn wir! Oni wyddoch fod y meddiant ar eich eiddo fel cysgod, neu fel gwlith y boreu o flaen haul y nawnddydd, na ddichon i chwi gael sicrwydd o'i reoli am un foment! Llaw anweledig Rhagluniaeth sydd yn ei reoli. Yn fyr, pa beth nad aberthech? Mae y Saint yn aberthu pob peth; ond a siarad yn fanwl, nid oes Aberthiad yn ei gylch. Pe y rhoddech *geiniog* am *filiwn o aur! Llonaid llaw o bridd* am *blaned! Tyddyn* amserol, wedi ei dreulio ymaith, am un gogoneddus, a wna fodoli, aros, a pharhau i gynnyddu trwy holl dragywyddoldeb nad yw byth i ddiweddu, *y fath aberth a fyddai hyny bid sicr!*

Llawer, yn ddiammheu, a'i hystyrient yn aberth mawr i gael eu galw i fyned ar gennadaeth tros ychydig flynyddoedd: i adael gwraig, plant, cyfeillion, cartrefi cysurus, ac i deithio efallai ar eu traed, i ymdrafod a thymhestloedd ar y môr, i fod mewn perygl yn mhlith dirmygwyr ar dir, ac i gael eu cashau gan bawb. Gwir ydyw y gallwn ystyried hyn yn aberthiad

mawr; ac etto gwna dynion hyn oll ac ychwaneg—peryglant eu bywydau ar eu hantur i gael aur, ac i ddilyn hudoliaeth pleser. Ac oni ddylai Saint y Goruchaf Dduw fod yn fwy ewyllysgar, ac yn fwy awyddus i ddwyn yn mlaen achos eu santaidd grefydd, gan gyssegru eu hunain, eu dylanwad, eu heiddo, ac, os angbenrheidiol, eu bodolaeth, nag ymgyflwynwyr ffurf, diofrydwyr pleser, y rhai na ymgeisiant ond yn unig am fwynhad anianol, ac am wrthrychau amserol, megys ennill a dyrchafiad bydol? Yn wir meddaf i chwi, os nad ydych, neu os oes genych ysbryd i ymgais ar ol gwagedd pendrôedig, gwag, ac ynfyd y byd, pethau na pherthynant ond yn unig er boddhau teimladau presennol, nwydau, a dymuniadau hunanol, ac heb genych ysbryd gweddi a deisyfiadau, fel na allwch ac nad ydych yn teimlo i arfer ymgais uwchlaw yr oll yn achos y gwirionedd, fy nghynghor a'm hannogiad i bawb o'r cyfryw, yw iddynt fyned yn uniongyrchol i *fwn-gloddiau euraidd* California, ac ymgais am aur: canys, bid sicr i chwi, y bydd i gymmaint ag y sydd ganddynt yr ysbryd hwn, redeg fel y paro neu yr archo eu teimladau anghyfiawn.Ië! Ewch i ardaloedd yr aur, a pheidiwch a dyfod i geisio fy nghynghor i yn ei gylch, pa un a ydwyf foddlon i chwi fyned a'i peidio, oblegid yr wyf fi, nid yn unig yn foddlon i chwi ymadael, ond yn awyddus am i chwi wneyd gan gynted ag y byddo modd.

Os nad ydych yn caru Duw, a'i achos Ef, yn well na phob peth arall, os na allwch gyda chalon ddaionus ac a llaw ewyllysgar, ei adeiladu i fyny ar y ddaear; os na edifarhewch am eich ffoledd, a chael Ysbryd y gwirionedd ynoch, fel ag i'w garu, a theimlo yn ewyllysgar i aberthu yr oll er ei fwyn, nis gallwch adeiladu i fyny teyrnas Duw.

---

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG.

Dydd Sul, Mawrth 26ain., 1854, 11eg o'r gloch, yn y boreu, llanwyd Neuadd y Saint, yn Merthyr, gan bobl awyddus am wrandaw geiriau y bywyd tragywyddol: a gwedi dechreu y cyffarfod fel arferol, dywedodd,

Y Llywydd Jones.—Cariad plentyn Duw sydd ddiofid; a llawenydd, heb dristwch i'w ddilyn, yw llawenydd yn yr Ysbryd

Glân, Mae ein goleuni yn llewyrchu yn gyfatebol i'n ffyddlondeb: gwella *ei hun* a wna dyn, wrth *fyw* ei grefydd, yn fwy nag y dichon iddo byth wella neb arall; a mwy niwed iddo ei hun nag i neb arall, a wna dyn wrth anufyddhau i Grefydd Iesu Grist.

Peth poblogaidd iawn ydyw crefydd yn ein gwlad; o ganlyniad, y rhai sydd a mwyaf o grefydd ganddynt a ddylent fod yn fwyaf poblogaidd. Er anamled ein rhifedi, ni wna hyny hir wahaniaeth, oblegid fod ynom ddefnydd a all ennill poblogrwydd. Gan y rhai sydd yn cydymffurfio a chrefydd Iesu Grist, y mae y grefydd oreu; a hono yw yr unig un a all ennill gwir boblogrwydd, o herwydd ei defnyddiau at wneyd hyny. Mor anmhosibl yw i grefyddau dirym a di sylwedd ennill poblogrwydd parhaus, ag ydyw iddynt wneyd diddymdra yn sylwedd. Nid i gydymffurfio a chrefydd o gynlluniad cyfeisteddfod gweinidogion y daethom yma heddyw; eithr i gydymffurfio a'r *un* grefydd ddigyfnewid a osododd Crist. Pawb a dybiant eu crefydd yn rhodd werthfawr a gawsant gan eu duw hwynt; a'r Saint gan ystyried hyn, a ddaethant yma heddyw i amlygu eu boddlonrwydd i werthfawrogi, ac i ddal a chynnal y rhoddion gwerthfawr a roddodd Duw y nefoedd i ddynion; sef, yn gyntaf Apostolion, yn ail prophwydi, a bugeiliaid, ac athrawon. Nid y pabellau pridd a ystyriant, yn rhoddion, eithr y trysor a gynnwysant; yna, priodol yw dweyd i Dduw roddi yr apostoliaeth, y brophwydoliaeth, y fugeiliaeth, a'r athrawiaeth, yn rhoddion er perffeithio y Saint i waith y weinidogaeth, ac er adeilad corff, neu Eglwys Crist. Pa fodd y gallwn gynnwys yr Apostoliaeth, y brophwydoliaeth, a'r holl roddion ardderchog hyn, heb lestri pridd? Os dywedir fod apostolion a phrophwydi wedi darfod, dywedir felly fod yr apostoliaeth, y brophwydoliaeth, a pherffeithiad y Saint, ynghydag adeilad corff Crist wedi darfod hefyd.

Ein braint yw cael dangos, yma heddyw, ein cydymffurfiad a'n crefydd, trwy i ni ymgyfammodi i ddal i fyny, neu i gynnal a pharchu y llestri o herwydd eu bod yn cynnwys y rhoddion gogoneddus hyn. Y rhoddion a'r trysorau, yn yr Eglwys hon, ydynt annhraethadwy; y fath Eglwys gyfoethog a llawn o roddion sy genym! Ni chaniata amser i mi enwi yr oll o'r gwahanol swyddau a'r corwmau sydd ynddi, ar hyn o bryd: eithr cynnygiaf y bod i ni arwyddo ein penderfyniad i gynnal trwy ein

gweddiau a'n hymdrechiadau, y Llywydd Brigham Young, a'i ddau gynghorwyr.

Wedi eilio y cynnygiad yna, cynnygiwyd ac eilwyd, yr un modd am y Llywydd S. W. Richards, a'i gynghorydd; y Llywyddiaeth Gymreig, a Llywyddiaeth y gynnadledd hon; a chododd y Saint eu dwylaw yn unfrydol. Yna, y Llywydd a ddywedai, yr ydym yn dyfod yn nes i dref, yn adeilad corff Crist; ac yn awr, deuwn hyd at y cangenau trwy ein cynnadledd.

Y fath yw y cyssylltiad sy rhwng yr aelodau yn Nghorff Crist, fel na pherchir, ac na anmherchir unrhyw aelod heb i'r oll deimlo; mae gan Dduw gymmaint golwg ar ganghenau bychain yr Eglwys, ynghyrion unigol y wlad, ag y sy ganddo ar unrhyw ran arall o'r corff eglwysig; canys un ydynt i gyd. Fel y ceir tònau, rhai yn llai a rhai yn fwy na'u gilydd yn yr un môr, felly y Saint ydynt amryw a lliosog yn yr un môr o gariad, lle y nofiant mewn undeb oll ynghyd.

Y cynnrychioliad:—A. 1; Hen. 269; Off. 95; Ath. 100; Dia. 63; Bed. 50; Ymf. 86.—Cyfanswm, 1796.

Y Llywydd, a sylwai yn mhellach,—Nid yw yr achos da wedi marw, fel y dymunai rhai; eithr, y mae yn fyw, ac yn llawer gwell na dysgwyliad rhai ag ydynt gyfeillion cywir. Nid ychwanegiad nifer yw yr unig lwyddiant a ddymunir, ond hefyd i'r Saint fucheddu mewn rhinwedd a ffyddlondeb, trwy ddwyn ffrwyth da, gan berffeithio eu hunain mewn santeiddrwydd, fel y sanfyddir eu bod yn holl wahanol gangenau y Gynnadledd hon.

Lle y mae llawer o gariad at Dduw, ceir llawer o gariad at wneyd gwaith Duw. Llawen ydwyf, o weled y cangenau yngwinllan Crist yn dwyn mwy ffrwyth y chwarter a aeth heibio nac o'r blaen; eithr ni erfynir i'r byd, oddiallan i'r muriau, weled tu fewn i'r winllan, oddieithr ychydig ar yr ymylon. Ni ddylai un gwelthiwr, a swydd ganddo, fod yn segur yn y winllan, am fod digonedd o waith i ni oll y tu fewn a'r tu allan i'r muriau. Os oes Henuriad neu Offeiriad yn teimlo llesgedd i weithio tu allan, gosoded llywyddion cangenau hwynt i weithio tu fewn, gyda y Saint, fel athrawon, ac na chaniataer i *neb* fod yn segur. Dylai eich gofal dros y Saint fod gymmaint, a *mwy* na'r gofal a all fod genych tros eich teuluoedd; ac na adawer hwy i newynu o eisiau swyddogion i'w porthi, nag i syrthio gan eisiau rhai i'w dal i fyny. Gweler yma bwysigrwydd swydd athraw, yr hwn sydd i

ddysgu y Saint *y modd i grefydda yn iawn*, i grefydda o galon, yn mhob màn, yn y dirgel ac yn y cyhoedd, gan roddi ar ddeall iddynt nad ymddangos yn y cyfarfodydd yn unig yw crefydda, ond y dylent ymwneyd a'u crefydd, fel yn yr ystafell wely, felly hyd y nod wrth ymdrin a masgnach; oblegid, rheol i fyw wrthi ydyw crefydd. Dylai yr athrawon fod yn ddynion tadol gan gynghori, dyddanu, cysuro, a chodi i fyny anwylaidd blant y teulu nefol; ac o ganlyniad, gofal tadol yw eu gofal hwynt, gan arwain y Saint mewn crefydd. Gwelir wrth yr effeithiau fod prinder athrawon, gresyn i neb ddigaloni o eisiau dynion digon tadol i fyned ar eu hol, a gofalu am danynt. Gosoder dynion yn eu swyddau, mewn dull y gellir gofyn i'r naill fod yn gyfrifol am ymddygiad y llall, fel cyfrifoldeb tad tros ymddygiadau ei blant yn y teulu. Dylai pob Dysgawdwr fod yn deall ac yn gwneyd ei ddyledswyddau, fel y gallo gyfarwyddo ereill i wneyd yn yr un modd. Nid ydym yn meddwl fod dynion yn ddigonol i'r gwaith hwn heb fod ganddynt Ysbryd Duw. Gweddier llawer am y dylanwad hwn, fel y galler troi pechadur o gyfeiliorni ei ffordd, gwared enaid rhag angau, o chuddio lliaws o bechodau.

Duw yw awdwr y cyfan, a chan hyny llywodraethwr yr oll y sydd; Efe yw awdwr crefydd, a'i llywodraethwr hefyd. Ni wnaeth yr Arglwydd erioed beth anghrefyddol; pe amgen, byddai yn anghrefyddol ei hun! Crefyddol yw pob peth a wnaeth Duw; ac o ganlyniad, crefyddol yw pob peth da a wnelom ninnau. Os gwnawn ein holl bethau yn dda, blodeua ein cangenau yn adnewyddol; a thrwy i'r Saint beidio a gwneyd un weithred na byddo yn tarddu oddiar grefydd, ceir ffrwythau lawer ar eu hol. Yr Arglwydd a'n bendithio oll, gyda dylanwadau yr Ysbryd Glân, trwy Iesu Grist. Amen.

Trefynwyd, trwy fendithiad, gan yr Henuriad Robert Parry.

*(I'w barhau.)*

---

## CYNNYG I DDEONGLI Y DDAMMEG,

*Yr hon a ymddangosodd yn rhif.* 12*fed o'r* UDGORN, *tud.* 182.

MR. GOL.,—Wrth ddarllen yr UDGORN gwelais Ddammeg. Pan yn myfyrio am y ddau fôd gogoneddus, meddyliais am ddyfodiad cyntaf Adda ac Efa i'r ddaear hon. Pan yn myfyrio ar yr wyl

edidog a gynnaliwyd gan fwyn gantorion y goedwig, ar ddyfodiad y ddau fôd dyeithr i'r baradwys newydd, meddyliais fod yr holl greaduriaid yn gorfoleddu am fod eu Brenin a'u Brenines wedi dyfod atynt i'w llywodraethu. Pan yn myfyrio ar y siriol wênau, a'r cofleidio, a'r cyfammod tragywyddol oedd rhyngddynt, meddyliais am y briodas nefolaidd a gyssylltodd y gwr â'r wraig. Pan yn myfyrio ar y clogwyn lle tyfai y pren, meddyliais am y gorchymyn pendant, "Na fwytewch o hono rhag eich marw." Pan yn myfyrio am y dolefau a'r cwynfan oedd gan y gwr, meddyliais fod Adda yn gweled Efa wedi syrthio, ac iddo fyned o'i fodd i lawr ati i'r dyben o'i chyfodi o'r pwll y syrthiodd hi iddo; am hyny, Adda a gymmerodd o ffrwyth y pren gwaharddedig, fel y gallasai ddyfod i'r lan drachefn ag Efa gydag ef. Pan yn myfyrio am yr afiechyd a'r cryd a aeth arnynt hwy a'u hiliogaeth, o herwydd syrthio i'r môr, meddyliais am effaith y cwymp yn ngardd Eden, sef y pechod gwreiddiol, yr hwn sydd wedi cyrhaedd pob dyn byw. Pan yn myfyrio ar y lygoden o dan y ddysgl ar y ford, meddyliais fod Adda ac Efa wedi eu gosod mewn sefyllfa o brawf i gadw neu i dori y gorchymyn; ac nid yn unig hwy—ond fod pawb yn mhob goruchwyliaeth yn rhydd ewyllyswyr i dderbyn neu i wrthod cenadwri Duw drwy ei weision; am hyny, na fydded i neb feio Adda am wneuthur fel ag yr oedd ef yn ewyllysio, gan i ni ei ddewis yn ben cyfammodwr.

Os methais a'i deongli, treied rhywun gallaocach.

Yr eiddoch yn serchog,

*Pyle.* JOHN BOWEN.

---

## Y DYFNDER MAWR.

MAE y dyfnder mawr yn hardd;—
Trwy gruglwyth crombil daear gudd,
Yn haen ar haen, trysorau sydd,
A throstynt wyrddlas gwrlid crwn,
A brithion flodau'n brodio hwn:—
Y cwrel cain, a gemau'n stôr
A drwsiant lwybrau pysg y môr,
A rhua'r chwyddfawr donau 'n gras,
Fel llewod ar ysglyfaeth bras,
Mae y dyfnder mawr yn hardd!

Mae y dyfnder mawr yn hardd;—
Caed dwyfol olud trefniant doeth
I godi dyn oedd elyn noeth;—
A darostyngiad Israel fu
Yngodiad i'r cenedloedd lu:—
Gras Duw, at ddyn, tramwya 'n awr,
Fel olwyn o fewn olwyn fawr,—
A nerth y pur wirionedd byw,
A ddwg wybodaeth lawn am Dduw,
Mae y dyfnder mawr yn hardd!

Mae y dyfnder mawr yn hardd;—
Pechadur euog heddyw cawn,
Tan galon friw, yn credu'r Iawn;—
Ymorfoledda'r nefol rai,
Mae Duw, yn Nghrist, yn maddeu bai:—
O entrych trag'wyddoldeb maith,
Ceir gwel'd uniondeb dwfn y daith;—
Pob cwpan chwerw yn felus fydd,
A'r dywyllaf nos yn danbaid ddydd,
Mae y dyfnder mawr yn hardd!

Robyn Ddu, Eryri.

---

## Y GWANWYN.

Yr haul sydd yn tramwy'n deg olwyn aur fry,
Ynghanol glâs wybren ymfrodiog, mewn cnu;
Trochionog a rholiog yw'r frigwyn dòn hardd,
A'r awel rhwng cangau'r coedwigoedd a chwardd:
Y ffrydiau ymlithrog, sisialant trwy'r naint,
A siriol, mewn gwenau anwylaidd, yw'r *Saint.*

Mae'r gloen byw'n dawnsio ar flodau, mewn gwyn,
A'r adar a gathlant, nes goglais pob bryn;
Yr wyn bach a branciant, mae'r gwenyn fel clych,
Gan fywyd a llondid, holl anian sydd wych;
Ond tecach na'r cyfan, yn mawredd eu braint,
A'r bodau llawenaf yn natur, yw'r *Saint!*

Robyn Ddu, Eryri.

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

## DYDD SADWRN, EBRILL 15, 1854.

Lledaeniad achos y Gwaredwr,—Yw prif destun y Saint. ac yn neillduol y swyddwyr drwy Gymru; pa fodd i'w eangu ar y ddê a'r aswy,—i ennill sylw y gonest ei galon atto, ac i argyhoeddi eu cyd-ddynion o'r pwysigrwydd o hono yw yr oll a glywir gan Lywyddion Cynnadleddau, mewn Cymmanfaoedd, Cynghorau a phob man: y mae hyn fel y dylai fod, rhybuddio ein cymmydogion yw ein pwysiccaf waith, gwerthfawrogrwydd eu heneidiau hwy a amlwg welir yn yr oll a fwynhawn drwy ein crefydd. Dirmyged Offeiriaid, gwawdied pregethwyr, a chwardded gau-athrawon y bobloedd am ein cyfeiliornadau tybiedig, gwyddom ni—gwyr y nefoedd hefyd y fod genym unig wir efengyl Iesu Grist; tra y mae y newyddiaduron a'r pwlpudau yn merwino clystiau yr oes â chamgyhuddiadau am danom ni a'n crefydd, ymddeffrown ninnau i fwy diwydrwydd i achub ambell i garwyr y gwir fel pentewynion o ganol y goelcierth.

Y peth nesaf i ymfucheddiad duwiolfrydig y Saint er llwyddiant yw, "iawn gyfraniad gair y gwirionedd" drwy ddosparthu pregethwyr i'r lleoedd mwyaf manteisiol i drosglwyddo gair y bywyd i'r bobl. Ymwasgarer i blith pob gradd, yn lle bod yn sengu ar sodlau eu gilydd mewn rhai manau, tra y mae prinder mewn manau ereill. Ymdreched pob Llywydd am ledaenu swyddwyr selog a diwyd hyd eithaf cyffiniau ei gylch, na adawer tref na chymmydogaeth, teulu nac enaid heb gael cynnyg ar yr iachawdwriaeth yn Nghrist, yr hon sydd yn gynwysedig yn ein goruchwyliaeth.

Gan i'r Arglwydd ein gosod yn wyliedydd yn y cylch bychan hwn o'r Dywysogaeth, a thra y gadawa Ef ni yn y cylch hwn, ein llais a fydd ar ein holl gydwyliedyddion;—rhybuddier *rhybuddier* yr oes o fod y cleddyf, y newyn, yr heintiau, y ffrewyllau, yn

nghyd ag ysgubellau y Jehofah ar wagâu ein gwlad o'i thrigolion drwy eu hymfudo, naill a'i i Seion waredol, neu i fyd yr ysbrydoedd ar frys; rhybuddier hwynt mai yn Nheyrnas Dduw yn unig y ceir bywyd a diogelwch presennol a thragywyddol; canys, yr ydym ni yn *gwybod* hyny, ac yn *gwybod* mai hon yw hi. Cofier fod y gwyliedydd a wêl y cleddyf yn dyfod ac ni rybuddia y bobl, yn euog o'u gwaed hwynt, yn ol cyfraith Duw.

Gofidus genym hysbysu fod rhai siroedd cyfan yn ein gwlad fach ni, megys, Môn a Maesyfed a rhanau mawrion o Drefaldwyn, Dinbych, Aberteifi ac Arfon, heb lais un o weision Duw i'w glywed braidd yn eu plith; ond distawrwydd y bedd, dan amdo o gaddug ysbrydol, a ordoa eu hardaloedd; tra y mae cannoedd o genadon Duw, achubwyr y byd—a gair y cymmod,—trysor dwyfol, yn eu llestri pridd, yn bentyrau ar eu gilydd braidd mewn ardaloedd ereill, ac yn cwyno eu bod heb gyfle i ddefnyddio eu talentau gwerthfawr! Beth meddwch, Frodyr, o'r ffaith o fod dros 300, o bregethwyr yn y Gynnadledd hon, a'r holl fanau uchod heb neb braidd? Ai cyfiawn hyn at eneidiau ein cyd-ddynion? Os nade, gwylier rhag y cyfrifoldeb,—taflwn ef oddiar ein ysgwyddau drwy eich gwahodd ac ymbil arnoch dros ein Mheistr trugarog i fyned a gair y bywyd i'w plith, gwnawn yr oll a allwn i hwyluso eich ffordd; y mae gwaith i gael yn yr holl fanau uchod; ïe, y mae genym lythyrau yn awr o'n blaen, ac o hyd yn eu derbyn, yn galw am gynnorthwy i wahanol fanau, ac yn cynnyg ffordd o fywioliaeth i'r rhai a ânt; mewn un man dywedir fod gwaith yn barod i 30, o bregethwyr y Saint pan y mynant! Chwi weision Duw, a gant hwy alw yn ofer? Beth yw yr atebiad? Cofier y gorphwys y canlyniad ar y rhai a'i hachosodd.

Mae canmoliaeth fawr yn deilwng i'r brodyr ffyddlon yn Sir Fynwy, am eu sêl a'u parodrwydd i waith yr Arglwydd; canys, cynnygiodd tua 35 o honynt eu hunain yn foddlon i fyned i'r manau y gwelai yr Arglwydd yn oreu! Do, dywedasant oll ar y galwad cyntaf, "Wele fi anfon fi:" yr Arglwydd grasol a'u bendithio, ïe, efe a'u bendithia ac a ddangosa y gwahaniaeth rhwng y rhai a'i gwasanaethasant ef a'r rhai a wasanaethasant eu hunain yn hytrach. Testun llawenydd mawr fydd y newydd hwn gan drigolion Sir Aberteifi,

Caerfyrddin, Penfro Ogleddol, y Gogledd &c: yn enwedig gan y brodyr sydd yno: darparwch ar eu cyfer ynte, Frodyr, y mae lu yn dyfod atoch ar fyrder; a daw ychwaneg ar eu hol hwythau mor gynted ag y gallwn lwyddo i'w cychwyn.

---

## TIRIAD YR YMFUDWYR CYMREIG YN ORLEANS NEWYDD.

*New Orleans, Mawrth* 18, 1854.

Yr Henuriaid Jones, Jeremy, a Daniels,—Anwyl Frodyr,—Wele fi yn cymmeryd yr adeg bresenol i anfon yr ychydig linellau hyn atoch, er rhoddi tipyn o hanes i chwi sut y mae, a sut y bu arnom hyd yn hyn. Yr ydym wedi gweled mawr allu Duw gyda ni, ac yr ydym yn teimlo yn ddiolchgar iawn iddo am ei ddaioni tuag atom. Mae yn hysbys i chwi ein bod wedi ein rheoleiddio yn Gynnadledd cyn cychwyn o'r *Docks* yn Llynlleifiad; ond wedi hyny darfu i ni ddosparthu y Gynnadledd yn 7 o Gangenau, a llywydd ar bob Cangen, 4 o ba rai oeddynt Gymry, sef John Davis, William D. Jones, Phillip Sykes, a Thomas C. Martill. Rhanwyd y Cangenau yn Ddosparthiadau, a llywydd ar bob Dosparth, a chyfarfod Saint yn mhob Cangen bob nos Fawrth a nos Iau, a gweddi deuluaidd bob nos cyn myned i'r gwely; ac ni fu gweddi yn yr hon ni choffasom am danoch chwi a'r holl Saint anwyl sydd ar ein hol yn Nghymru.

Oddeutu 11 o'r gloch boreu dydd Sadwrn, Chwefror 4, daeth yr agerfad, a rhoddodd dro oddiamgylch i'r "Golconda," yr hon oedd y pryd hyn yn gorwedd yn yr afon. Yna wedi hwylio yn gysurus am beth amser, cyfododd ychydig o ystorom oddeutu 5 o'r gloch y prydnawn hwnw, a dechreuodd y Saint yn gyffredin fyned yn glaf, ac felly y parhaodd trwy y nos. Darfu i ni gofio am y gorchymyn boreu dydd Sul, o gadw yn santaidd y dydd Sabboth, ond yn wahanol i bobl yn gyffredin, trwy fod y rhan fwyaf yn eu gwelyau. Parhauasom yn glaf hyd nos Lun, ac yna gorchymynwyd i bob Cangen gynnal cyrddau gweddi; a chyn 10 o'r gloch yr oedd y gwynt wedi troi a gostegu, a dyfod yn deg o'n plaid; a bu llawenydd mawr dranoeth yn mhlith y Saint, a phawb yn dweyd yn dda am enw yr Arglwydd.

Yna hwyliasom yn llwyddiannus iawn hyd nes y cyrhaeddas-

om y *Western Islands*, ar y 14eg o Chwefror, a'r rhan fwyaf yn iach. Yna parhausom i hwylio yn mlaen nes dyfod i olwg y *West India Islands*, a chawsom olygfa agos ac ardderchog ar Jamaica, ond ni welsom Cuba.

Ac wedi cyrhaedd hyd yma, dywedaf air wrth y Saint yn Nghymru. Yr oeddwn yn bwriadu eich anerch cyn ymadael, ond methais a chael amser gan amgylchiadau. Yr wyf yn awr yn ysgrifenu atoch fy nheimladau. Yr oll ag sydd genyf i ddweyd wrth y Saint ydyw, am iddynt fyw yn dduwiol; gofalwch na fyddoch yn cymmeryd eich ffyrdd eich hunain, ond ufyddhewch a pharchwch drefn a llywodraeth Duw sydd yn eich plith, a chynnydded eich ffydd a'ch ymddiried yn barhaus yn y brodyr hyny sydd yn llywyddu arnoch.

Yr ydym ni wedi cael cyfarfodydd rhagorol o dda, ac y mae Ysbryd Duw yn helaeth iawn yn bresennol gyda ni, ac ni ddymunwn i fod yn mhlith gwell pobl nâ'r rhai hyn sydd yn ymfudo. Y maent yn wresog ac yn llawn o'r Ysbryd Glân. Wrth ddweyd fel hyn nid wyf yn ystyried fod pawb felly. Byddwch yn awyddus i ddyfod ar ein hol, a meddiannwch amymedd. Mae digonedd o fwyd da ar y llong yma, ond byddai yn ddoeth i bawb ag sydd a meddiannau ganddynt i ddyfod ag ychydig o flawd a rhyw *preserves* gyda hwy, hefyd ychydig o gig eidion sych, a ham, &c.

Y mae rhyw lwyddiant neillduol wedi bod o'n plaid hyd yn bresennol. Yr oeddem weithiau yn canfod ambell i long o'n blaen trwy y *telescope* yn y boreu, ac erbyn y nos wedi eu passio yn mhell; wrth hyny yr oeddem yn ystyried fod ein Tad yn ein bendithio. Ni ddygwyddodd dim marwolaethau ar ein taith, ond un pleutyn bach a anwyd yn Liverpool cyn cychwyn. Bu dwy briodas, sef David Davies ag Esther Williams, y ddau o Sir Gaerfyrddin; a Wm. Gillman, Blaenau, ag Ann Davies, Pendeulwyn; ac nid wyf yn meddwl fod mwy o ddyfyrwch erioed wedi bod ar fôr nac ar dir mewn priodas o'r blaen, nag a fu yn yr olaf, yr hon a gymmerodd le ar yr 11eg o'r mis hwn. Am 9 o'r gloch yr oedd dwy o *flags* wedi eu codi i fyny, a phawb yn chwilio am eu *boxes*, i'r dyben o gael allan eu gwisgoedd goreu, a chariwyd y briodas yn mlaen yn ol dull yr hen Gymry er ys llawer dydd.

Y mae yr hen chwaer, Esther Jones, o Sir Aberteifi, yn fyw

ac yn iach, ac wrth ei bodd. Mae hi yn awr yn 84 mlwydd oed, ac na fydded i neb o'r hen chwiorydd ofni cychwyn tua Seion o herwydd y môr; yr oedd yr hen chwaer hon yn rhodio yn ol ac yn mlaen ar y deck fel pe bae ar a tir, ac y mae hi allan heddyw.

Yr wyf fi am teulu yn awr, yn terfynu gyda danfon fy nghariad attoch chwi a'ch cynghorwyr, ynghyd a'r Llywyddion y Cynnadleddau, Robyn Ddu, John Jones, a Sims, a'r Saint oll trwy Gymru,—hefyd mae y brawd R. Morris ac Anna yn dymuno eu cofio atoch oll yr un modd. Nid wyf yn gwybod pa mor fuan y cychwynwn i fyny i'r afon.

Ydwyf eich brawd yn yr efengyl,

W. S. PHILLIPS.

---

## LLYTHYR O NEW ORLEAMS ODDIWRTH YR HEN OLYGYDD.

*New Orleans, Mawrth* 18, 1854.

ANWYL FRAWD JONES.—Pum mlynydd yn ol, yr hwn a ysgrifena atoch chwi yn awr, a ddysgwyliai glywed eich helynt chwithau yr amser hwnw, o'r un lle. Mor rhyfedd yw troion rhagluniaeth, a bywyd dyn yn y byd. Yr wyf finnau erbyn hyn wedi gweled pysgod yn hedfau, a'r byd i gyd yn ddwfr, heblaw rhyfeddodau ereill mawr eu maint. Yr wyf hefyd wedi dysgu mwy o amynedd a phwyll, gobeithiaf, nag a ddysgais er ys llawer dydd. Mae y mor yn gallu halltu pawb, a gwyn eu byd y rhai a allant gymmeryd ei halen. Nis gallodd ei glefyd effeithio dim arnaf fi, er i mi gael rhan dda o'i drafferthion, o herwydd afiechyd fy ngwraig, a gwylltineb fy un fechan. Yr ydym yn awr wedi darfod â'r weilgi; yr afonydd fyddant y nesaf i'n treio. Mae hanes byr o'r fordaith yn cael ei ddanfon gan y brawd W. S. Phillips, o ganlyniad, ni wnaf fi fanylu ond ychydig a'r hyny, cawsom fordaith gysurus a llwyddiannus, a'r rhan fwyaf o'r Saint yn ymddangos wrth eu bodd ac yn lled ddigeintach Bu llawer o ddifyrwch o bob math yn ein plith; ond ar yr un pryd, nis anghofiwyd gweddio a gwylio, a dyledswyddau crefyddol ereill. Cofiasom yn fynych yn ein hymbiliau am y Saint Cymreig a'u llywyddion, a gobeithio y gwrandawir ni ar eu rhan.

Cawsom lawer o gyfarfodydd gwresog iawn ar fwrdd y llong, ac Ysbryd Duw yn bwerus yn ein plith, gan achosi llefaru â chanu mewn tafodau; yn gystadl â phrophwydo, &c. Ond dichon na thynodd dim fwy o sylw nâ phriodas a gymmerodd le rhwng W. Gillman o'r Blaenau, ag Ann David, Pendeulwyn; ar y 10fed o Fawrth.

Caf yn awr ddweyd gair wrth ymfudwyr dyfodol, yn ol fy ngwybodaeth a'm profiad fy hun. Mae yn anhawdd i bawb ddweyd yr un peth, ac i gytuno ynghylch yr hyn sydd oreu: ond gall pawb gynnyg eu barn, a gadael i ereill ddewis. Yn y lle cyntaf, doeth a fyddai parotoi persli, sych, ynghyd â lysiau ereill, at wneyd cawl blasus ar y môr, ac ar y gwastadedd; hefyd ychydig o ymenyn, *suet*, pubyr, halen, *currants*, *raisins*, *jam*, *pickles*, *ginger*, *nutmegs*, bara da am wythnos, (i'w gadw yn sych dan y gwely), *hams*, bara ceirch, ysgadan, pytatws am y daith, senna, caster oil, &c. Gellir gwneyd digon o sycan neu uwd o'r blawd ceirch a geir ar y llong, os bydd gogr i'w gael; gwna finegr ei suro, hyd nes y ceir tywydd twymn i wneyd hyny.

Da fyddai prynu *over shoes gutta percha* i wisgo y diwrnodau cyntaf ar y llong, gan ei bod yn lled wlyb ac oer; ond bydd raid eu rhoi heibio yn fuan, gan y gwresoga y tywydd yn barhaus. Nid doeth yw gwerthu llestri haiarn da yn Nghymru, gan y byddant yn well nâ *thin* ar y môr, yn neillduol tin Liverpool; a byddai cwpanau priddion yn ddymunol iawn i'r cleifion, ond gofalu eu dodi mewn lle na thoront. Mae yn ofynol sicrhau pob peth, rhag eu tori gan ysgydwad y llong; ac os cymmerir cynghor yn awr, ni fydd achos dysgu trwy brofiad. Mae yn rhaid hefyd gwylio ychydig yn fwy nâ gweddio ar y llong, gan fod llawer, nad ydynt Saint, yn gwneyd camsyniadau gwirfoddol.

Mae yn ofynol i'r ymfudwyr gael blychau o goed sychion, wedi eu gwneyd yn mlaenllaw, a gofalu fod pob peth a osodant ynddynt yn eithaf sych hefyd; canys gwelais lawer o bethau yn llwydo yn druenus yn y blychau ar y môr, yn enwedig esgidiau a chotiau melfed; *carpet bag*, yw y peth goreu i gario esgidiau dros y mor, os caiff ei gadw mewn lle sych wrth y gwely: Manteisiol iawn yw fod mwrthwyl a hoelion wrth law, ynghyd â *gimblets, &c.* Da yw cylchau haiarn ar ymyl cloriau y blychau.

Mae y dwfr yn dal yn bur yr holl ffordd, oddieithr fod ychydig o flas y *casks* arno; gellir tynu hyny ymaith trwy ddefnyddio

blawd ceirch yn y cwpan. Nid da yfed gormod o loewon sycan, am ei fod yn rhy sur i'r cylla Yr oedd pob bwyd a gawsom ni ar y mor, yn gystadl bwyd ag a ellid ei gael, serch fod ambell un yn barod i achwyn, a hyny yn anghyfiawn.

Terfynaf yn awr, gan ddanfon fy nymuniadau goreu atoch chwi, y brodyr Jeremy a Daniels, Llywyddion y Cynnadleddau, y brodyr Parry, Simms, a Thos. Harries; ynghyd â phawb a ddymunant fy nghofion atynt. Gweddiaf ar i Dduw eich bendithio oll, fel y llwyddo eich llafur, ac y derbynioch wobr fawr pan orphenoch eich gorchwylion. Dysgwyliaf lawer etto i'n canlyn o Gymru, a goreu po gyntaf y deuwch oll. Yr wyf yn awyddus i glywed eich helynt oll; ac am hyn, gobeithiaf glywed oddiwrthych yn St. Louis. Gweddiwch chwithau drosom ninnau ar gyrhaedd pen ein taith yn ddiangol. Cawsom ein bendithio yn rhyfedd hyd yma; ac y mae pawb yr awr hon yn fyw ac yn iach ac am hyny diolchwn i Dduw. Bellach, ffarwel, a Duw a'ch bendithio chwi a ninnau yn enw Crist, Amen,

Eich brawd yn yr efengyl

JOHN DAVIS.

---

## CYMMANFA BRYCHEINIOG.

CYNNALIWYD Cymmanfa y Gymmadledd hon yn y Waenhelygen, ar yr 2il o Ebrill. Cafwyd y cynnrychioliad fel y canlyn:—7 o Gangenau; 27 o Henuriaid; 8 o Offeiriaid; 6 o Athrawon; 11 o Ddiaconiaid; 9 wedi eu bedyddio; a'r cyfanswm yn 154. Cafwyd addysgiadau a chynghorion buddiol a llesol iawn yn ystod y dydd, gan ein parchus Lywyddion Jones, Jeremy, a Daniels. Yr oedd Ysbryd yr Arglwydd yn dywalltedig yn helaeth ar y gynnulleidfa, hyd nes y mae yr oll yn penderfynu treblu eu diwydrwydd yn ngwaith yr Arglwydd o hyn allan.

T. MORGAN.

---

## GWRTH-BROFIAD CAMGYHUDDIAD.

DARLLENWN yn y "Swansea Herald," dyddiedig Mawrth 29,— "Fod pobl Aberdâr yn rhyfeddu o herwydd amgylchiad a GYMMERODD le yn ddiweddar—y Parch. Mr. Jones, mwy adnabyddus wrth yr enw 'Jones, Llangollen,' wedi ei drochi gan un

o 'Apostolion Saint y Dyddiau Diweddaf.' Beth nesaf?" ebe yr hanesydd.

Atebwn ninnau mai anwiredd trwyadl—hollol ddisail, diachlysur, na dim hyd y nod esgus iddo, ond malais drygionus a barodd i neb gredu na chyhoeddi y fath beth. Dyna y "peth nesaf" i'r gwir Mr. Hanesydd, nad pwy ydych. Beiddiwn undyn i brofi y fod "Mr. Jones Llangollen" wedi ei drochi gan "Apostol," na chan neb arall o'r Saint; nis gellir gwneyd hyny, ac achos da paham, o herwydd na fedyddiwyd mo hono; a gellir rhoddi profion eglurhaol o hyn os oes ychwaneg yn eisieu, i'r sawl a alwo arnom! ïe, nid yn unig profion na fedyddiasom ni ef, ond profion digonol na fedyddiodd neb arall ef; ac os gwir yr oll a sicrheir i ni, rhaid mai y rhai a ddylasent fod yn gyfeillion crefyddol goreu iddo—y rhai a wasanaethodd ffyddlonaf, a ddyfeisiasant yr ystori hon arno i ddybenion drwg. Pe gwnaethai efe ein cynghor ni cymmerasai ei fedyddio er ys blynyddau, neu pe gwybuasai yr hyn oedd oreu er ei les; eithr gan na fedyddiwyd ef, a nî yn gwybod hyny, teilwng yw i hyd y nod y *taenellwyr* gael deall y gwir, nad pa un a'u boddia ai ni wna; o leiaf, cyfarwydda hyny hwy i dadogi ffaeleddau tybiedig eu brodyr i anallu eu crefydd eu hunain. Os gallant brofi *anonestrwydd bwriadol* mewn dim a wnaeth eu hen was, yr hwn a fu ffyddlon i'w hachos hyd ei angeu braidd; yr ydym ni yn hollol anwybodus o hyny; a'r rhai a ymbleserant yn gwarthruddo ei gymmeriad o dan yr amgylchiadau presennol, a brofant i ni nad oes ganddynt nemawr barch i'w cymmeriadau eu hunain; canys y ffaeledd gwaelaf a allant ei wneyd yn ngolwg dynion call, yw beio crefydd pobl ereill am feiau eu brodyr eu hunain.

---

## DYGWYDDIAD HYNOD.

Bu i geffyl gwr cyfrifol yn Kendl, Sir Fynwy, fyned yn glâf a marw; ac yn mhen ychydig ddyddiau aeth caseg o'i eiddo yn glâf. Pan welodd y dyn ei gaseg yn ymgrynu ar lawr yr ystabl, dechreuodd ddywedyd. "O Arglwydd, pa beth a gefaist i'm herbyn, yn achos i ti ladd fy anifeiliaid fel hyn? Ni wn i am ddim, oddigerth i mi adael i'r Saint yna lettya yn fy nhŷ; ac os hyn yna yw yr achos, myfi a'u hanfonaf allan o'm tŷ nos efory." Ac ar derfyn ei weddi, ebe efe, neidiodd y gaseg yn iach ar ei

thraed! Bu y dynan yn ffyddlawn i gyflawni ei adduned, a chaffodd y saint fyned tros y drws, er y talent yn onest am eu lletty.

Argraffwyd aml i chwedl yn y Cronicl Cennadol, at ddangos mawr dywyllwch paganiaid Affrica, er y cynnwysent arddangosiad o gryfach synwyr nag eiddo pagan sectyddol Kendl!

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

"Yr Hen Grefydd Newydd."—Y mae y traethawd defnyddiol hwn, a'r ddymuniad llaweroedd drwy Dde a Gwynedd, yn y Wasg, a daw yr ail Argraffiad allan yn fuan, am chwe cheiniog. Mae cannoedd o dystion o blaid y daioni a gawsent drwy y traethawd bychan hwn, a gweddiwn a'r i Ysbryd y gwirionedd a draetha ei fendithio i filoedd.

---

Derbyniadau am Lyfrau o Ebrill 1, hyd y 12,—Dwyr. Morganwg, £3; Mynwy, £6.

☞ Anfoner enwau cangenau ynghyd ag enwau Trysorwyr ar gyfer y swmiau a gyfrenir at y Gymdeithas Ymfudol Barhaus! Nac esgeuluser os gwelwch yn dda!

☞ Hir ddysgwyliasom am ddangosiad gan bob Llywydd Cangen o werth y llyfrau a'r law, a'r dyledion os oes rhai, yr hyn a ddylem ni fel y dylai pob Llywydd Cynnadledd gael bob chwarter! Frodyr, nac esgeuluser y rheol bendant hon yn hwy, eithr ymdrecher talu yr hen ddyledion yn lle myned i fwy fwy o ddyled.

☞ Dygwyddodd camsyniad yn ein rhifyn blaenorol, drwy hysbysu fod "tad y plentyn," a iachawyd yn Pen y Cae, yn bresennol, a galwn hyny yn ol.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 15.] EBRILL 22, 1854. [CYF. VII.

## EGWYDDORION GWIRIONEDD.

GAN Y LLYWYDD BRIGHAM YOUNG.

MAE egwyddorion gwirionedd yn dragywyddôl. Gofynai y meddwl ar unwaith, beth yw gwirionedd? Y mae yn unrhyw beth, yn egwyddor, ac yn ffaith a chanddi weithredol fodoliaeth. Os anwiredd, etto gwirionedd ydyw y bodola anwiredd. Mor wired ydyw y bodola diafliaid, ag y bodola Duw.

Dywedodd yr Iesu, "Myfi yw y *ffordd*, y *gwirionedd*, a'r *bywyd*. Dywed y diafol hefyd, "ydwyf, yr wyf yn bodoli;" ac o ganlyniad, trwy yr unrhyw reol, "*ydwyf Wirionedd.*" Mor bell yw hyn yn fyr o'r hyn y mae yr Arglwydd yn ei ddadguddio trwy yr Ysbryd Glân. Mae Iesu Grist, ei Dad o'i flaen, a'r holl ffyddloniaid, Duwiau tragywyddoldeb, a'r holl elfenau cyd-drefnol, wedi eu cyd-drefnu i'r gwir ddyben o ddyrchafiad i dragywyddol gynnydd: neu tybier i mi ddywedyd, i wirionedd tragywyddol. A wnelai hyn drosglwyddo i'ch meddyliau y gallai y diafol, o herwydd mai gwirionedd yw y bodola, gyrhaedd i'r unrhyw allu a dyrchafiad? Tybier y caniatawn y meddylddrych y gwelwn yr amser pan y gallom gyduno a chyd-ddadansoddi elfenau, dwyn bydoedd i fodoliaeth, eu gwaredu, a'u dwyn i fyny i ogoniant tragywyddol, trwy ond yn unig ddywedyd—"*Yr ydwyf Wirionedd.*" Fel y dyfynwyd o'r blaen, "Yr Iesu yw y ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd." A gallem droi o amgylch a dywedyd—Satan yw y ffordd, yr anwiredd, a'r marwolaeth. A allwch chwi ddirnad y gwahaniaeth? Eithr

dywedyd mai Iesu Grist yw y ffordd, y gwirionedd a'r bywyd, sy gyfwerth â dywedyd mai Efe yw yr unig fodolaeth barhäol a thragywyddol. Mae yr Arglwydd Iesu Grist yn gweithio ar y cynllun o dragywyddol gynnydd, o ddoethineb, dealltwriaeth, anrhydedd, ardderchawgrwydd, gallu, gogoniant, nerth, ac arglwyddiaeth, a'r priodoliaethau sydd yn llanw tragywyddoldeb. Ar ba egwyddor y gweithia y diafol? y mae i ddystrywio, i ddattod, dad-ddansoddi, ac i rwygo yn gyrbibion. Mae yr egwyddor o wahaniad, neu ddadgyssylltiad, yn gymmaint tragywyddol egwyddor, ac yn gymmaint gwirionedd a'r un o gyd-drefniad. Bu a gwna y naill a'r llall fodoli. A allaf fi nodi allan i chwi y gwahaniaeth yn yr egwyddorion hyn, a dangos yn eglur a boddhaol y lles. y cyfaddasrwydd, a'r anghenrheidrwydd o weithredu oddiar y naill, yn hytrach nag oddiar y llall? Myfi a gynnygiaf fy ffordd fy hun, mor gryno ag a allaf. Y mae yn amlwg i mi, ond a allwch chwi ei ddeall?

Yn y lle cyntaf, defnydd sy dragywyddol. Yr egwyddor o ddiddymdra, o daro allan o fodoliaeth unrhyw beth a fodolodd, neu a gafodd fod, fel ag i adael y lle a feddiannid gan y peth hwnw yn gyfwng gwag, sydd anwireddus; canys nid oes y cyfryw egwyddor yn yr oll *dragywyddoldebau*. Beth sydd yn bodoli? Defnydd sydd dragywyddol. Yr ydym yn tyfu ein gwenith, ein ffrwythau, a'n hanifeiliaid. Yna cyd-drefnir hwynt, cynnyddant a thyfant; ond, wedi enyd, adfeiliant, ymddattodant, deuant yn ddadgyssylltiadol, a dychwelant i'w mam-ddaear. Nid yw o bwys trwy ba fynediad yn mlaen, y rhai hyn ydynt y chwyldroadau yr ânt tanynt; eithr elfenau y mymrynau o'r rhai eu cyfansoddwyd, ydynt o hyd, oeddynt bob amser, a byddant yn wastadol fodoli; a thrwy yr egwyddor hon o newidiad, y mae genym dragywyddol gynnydd.

Eithr gweithia Satan ar yr egwyddor wrthwynebol; efe a gais ddinystrio, a diddymai pe y gallai, ond ni wna heblaw dad-ddansoddi, a dadgyssylltu. Caniatewch i mi ymholi beth oedd ei felldith? Yr oedd, na fyddai iddo ef gynnyddu dim yn ychwaneg, eithr dyfod i ddiwedd.

Pan y deuais at ddrws y Tabernacl, y boreu hwn, clywais un o'r brodyr yn dywedyd i oddeutu un rhan o dair y llu nefol wrthgilio oddiwrth lywodraeth y Jehofah. Hyn oedd eu **melldith—byth i gael tabernaclau i breswylio ynddynt. Bodol-**

ant yn awr mewn ysbryd, ond ni chant byth gyrff, na'u dyrchafu: ni chant ychwanegiad pellach i'w bodolaeth, tra y gall y rhai na wrthryfelasant gael tabernaclau, a thrwy yr adgyfodiad, ddyfod yn bersonau o dabernacl yn y byd tragywyddol. Dyna fe, ar y naill law, ac ar y llall. Chwi a allwch yn awr weled y lles, a'r cyfaddasrwydd o ufyddhau i'r egwyddorion a arweiniant i fywydau tragywyddol, i ddyrchafiadau, ac i gynnyddiad; a phaham y mae y bod gan Iesu Grist fwy gallu o lawer na chan Satan. Mae gallu yr *un drwg* y tu hwnt i amgyffrediad dyn, yn ei ddichell gyfrwys, a'i ffyrdd hudoliaethus i wenieithio ac i arwain ei hun i mewn i wladwriaeth, ac i berson unigol. Mae hyn, pe byddai modd, i gyrhaedd tabernacl, yr hwn, er nad yw ond un benthyg, sydd etto yn cynnyddu ei allu, gan hwyed ag y gall ei lywio i ateb ei ddybenion; ac os y metha yn hyn, ac mewn denu i ddrwg, yna ei amcan sydd i ddad-ddansoddi, ac i ddystrywio, fel y byddo i'r gallu da, a'r dylanwad da, fel ei hunan, ddyfod yn amddifad o'r gallu perthynol i ysbryd ymgorfforol.

Mae yr Arglwydd yn gweithredu ar yr egwyddorion o barhau i gyd-drefnu, o ychwanegiad, o gasglu i fyny, o ddwyn yn mlaen, o gynnyddu ac o eangu a lledu; tra nad yw y gallu gwrthwynebol felly. Dengys hyn natur ei wrthwynebiad i nodwedd neillduol Cristionogaeth, a sylfaenwyd ar yr egwyddorion o dragywyddol barhad, cynnydd, gallu, gogoniant, a dyrchafiad; a noda allan y gwahaniaeth sy rhwng y ddau allu gwrthwynebus.

---

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG.

[Parhad o dud. 217.]

*Dydd Sul*, Mawrth 26, 1854.—Llywydd Jones, a ddywedai,—Da yw genyf weled gymmaint o nifer wedi ymgynnull yngh

yd y prydnawn hwn etto, i'r dyben o gael eu hyfforddi yn fanylach mewn crefydd. Nid i gael crefydd newydd, ond i ddysgu byw bywyd newydd, yn gyfunol a'r grefydd sy gan Ilyned ar gwirionedd, y daethom yma. Mae yr hen grefydd hon wedi ei threfnu er tragywyddoldeb, i ddwyn dyrchafiad a gogoniant i bawb a gyd-ymffurfiant a hi. Yr unrhyw destun a'r boreu, sydd ar fy meddwl y prydnawn hwn etto.

Peth o bwys yw i ni ymdrechu am gael daioni y grefydd hon wedi ei ddwfn argraffu ar ein meddyliau, oblegid y mae yn llawn gwirionedd; ac y mae y rhai a feddant gyfran o'r gwirionedd, yn awyddus am ychwaneg, fel y dymunant glywed ychwaneg am y pynciau perthynasol i grefydd Iesu Grist. Nis gwn pa leshad a ddichon crefydd ei wneyd i un dyn na wnelo fyw yn unol a'i gofynion; canys, prif ddyben gosodiad crefydd ydyw dysgu *dynion y modd i fyw.* Nid y modd i farw, fel y dysg rhai, ond y modd i fyw ydyw prif addysg crefydd. Bywyd yw crefydd, a'r neb a grefyddo gywiraf, a fydd byw oreu; ac o ganlyniad, a fydd byw hwyaf, am ei bod yn arwain i fywyd tragywyddol. Y prif ddyben, gan Awdwr mawr crefydd, yw i ddynion, trwy ufyddhau iddi, fyw yn dragywyddol, er ei ogoniant; o ganlyniad ni allasant gael bywyd tragywyddol heb grefydd; neu, os gallasant gael bywyd tragywyddol hebddi, pa ham ei gosodwyd?

Bywyd yw crefydd. Dywed yr ysgrythyr fod *bywyd ac anllygredigaeth* wedi ei ddwyn i oleuni trwy yr Efengyl. Canys, ymddangosodd gras Duw, yr hwn sydd yn dwyn iachawdwriaeth i bob dyn; gan ein dysgu ni i wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, ac yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awrhon; a chan ei bod yn dwyn bywyd, pwy a all ddweyd ei gwerth? Dyry dyn bob peth am ei einioes; rhoddai pobl a feddont am gael byw; cyflwynai mawrion byd eu holl olud, breninoedd eu coronau, ac amherawdwyr eu teyrnasoedd am gael byw yn hwy ar y ddaear; a chan fod crefydd yn fwy ei gwerth na'r byd ynghyd a'i holl gyflawnderau, gan fod crefydd yn beth a'n ceidw yn fyw trwy fywyd tragywyddol, iawn yw i mi feddwl y gwnai mwynhad o honi lesoli ein gwrandawwyr.

Efallai nad ydym yr un farn a rhai o'n cyd ddynion am yr hyn yw byw, na'r hyn yw marw ychwaith; nid wyf yn ystyried mai darfod byw yw marw; eithr mai dadgyssylltiad corff ac ysbryd ydyw. Nid yw y corff yn darfod byw, wedi i'r ysbryd fyned o hono, ond y mae yn ymddadgyssylltu ac yn ymgymysgu a'r elfenau a'i cyfansoddodd, gan ddychwelyd i'r man y daeth o hono. Mae modd cael bywyd y ddau yn gyfunol efn, trwy ail gyssylltiad y corff a'r ysbryd a'u gilydd. Yma ..lir defnydd crefydd; o herwydd trwyddi hi yn unig y unir bywyd diderfyn.

Idi hi y derbyn rhai dynion ernes o'r bywyd tragywyddol

sef, yr Ysbryd Glân: a gwybod iddynt gael eu geni o Dduw, ydyw derbyn cyfran o anfarwoldeb. Gosodwyd crefydd, nid yn unig i ni dderbyn cyfran o fywyd neu anfarwoldeb ac anllygredigaeth, ond at i ni gynnyddu hyd nes y deyrbyniom gyflawnder y bywyd tragywyddol. Nid oes un creadur na sylwedd yn aros yn llonydd, eithr y mae ysgogiad yn mhob peth; naill ai fel pren, yn tyfu; neu ynte fel un yn gwywo. Os nad â dyn yn mlaen at fywyd tragywyddol, rhaid yw yr ymgilia yn ol i farwolaeth: a chyn y dichon dyn ddyfod yn mlaen at fywyd, rhaid ydyw iddo ef *wneyd* y gweithredoedd sydd ofynol eu gwneyd cyn ei gael: os esgeulusa ef hyny, y mae yn rhwym o fyned yn ol a marw. Deil y pethau pwysig hyn gyssylltiad a phob perchen rheswm, am bob tragywyddoldeb. Ystyriwn ninnau y pwysigrwydd o gadw at ein dyledswyddau; oblegid ar yr ammod o'u gwneyd y mae bywyd i'w gael. Nid oes yma le i segurwyr i obeithio am fywyd, o herwydd y sawl a etifeddant fywyd, sydd yn rhaid iddynt ufyddhau i Dduw a gwneyd y gweithredoedd a gais Efe ganddynt eu gwneyd. Rhai dynion a feddyliant y ceir darfod a gweithio, darfod a bod yn ddiwyd, a darfod a chadw dyledswyddau, ar ol marw; dychymmygant am y nefoedd, ei bod yn lle i orphwys, ac y ceir gorphwysfa o ddiogi ynddi: nid felly y dengys yr ysgrythyrau a'r dadguddiadau dwyfol, ond i'r gwrthwyneb. Ein gwaith yma yw ymdrechu am fywyd; mae gweithio yn reddf naturiol ynom; ond ai tebyg y newidir y reddf hon pan y bydd pob greddf a nwyd dda yn burach ac wedi eu perffeithio. Gan mai purach a pherffaith a fydd y reddf hon ynom, tebygol ydyw y bydd hefyd ynom *fwy* awydd a bywyd. Dywed yr Apostol y *bywioceir* ein cyrff; ai tybied yr ydym mai i *segura* ein *bywioceir?* Nage! ond i ddiwydrwydd, i wneyd daioni, i gynnyddu, i ymledaenu, i eppilio, ac i ymëangu ein bywioceir. Gosodwyd y reddf hon yn ein natur; ac o ganlyniad y mae hi yn anhebgorol angheurheidiol er cael bywyd tragywyddol; pe amgen, pa ham ei dodi ynom, neu pa ham nad allem wneyd hebddi? Trwy iawn ddefnydd o honi yn unig, ynte, y mae yn ddichonadwy i ni gael bywyd.

Yn awr, gwelwn yr hyn a fydd ein hail gyflwr, wrth ein presenol, a deallwn mai ymestyn a fyddwn at liosogi bywydau diderfyn a thragywyddol: o ganlyniad, angheurhediol yw i ni fod yn feddiannol ar fywyd tragywyddol ein hunain, cyn y gallom

wneyd hyny. Nid unig ddyben crefydd yw achub y dyn ei hun yn bersonol; ond hefyd ei ddwyn, trwy iddo iawn ddefnyddio crefydd, i allu ymledaenu, a lliosogi bywydau fel y gwnaeth Duw ei hun, gan fod yn offerynol i ddedwyddoli ereill hefyd. Gan nad oedd, ac nad yw Tad yr ysbrydoedd yn segur, pa fodd y byddwn ni ddilynwyr Crist, yn gydetifeddion a chyfranogion o'r un gogoniant ag Ef, yr hwn a ddywedodd "Nid wyf fi yn gwneuthur dim ar na welais fy Nhad yn ei wneuthur," os na fydd y bodau adgyfodedig yn gwneuthur yr un modd? Os na chenedlant fywydau tragywyddol ereill, nis gall fod bywyd tragywyddol ynddynt eu hunain chwaith; oblegid natur bywyd ydyw lliosogiad bodau bywydol.

Wedi ein myned gan belled yn mlaen a hyn, i syllu ar y fath wynfyd a gogoniant, tynnwn ein golygon yn ol atom, yn mhwll llygredigaeth; ac edrychwn a ydym yn gwneyd y gweithredoedd a effeithiant i fwynhau y pethau ardderchog a gogoneddus hyn. Iawn ystyriaeth o honynt a'n cymhello, ie, a'n *gorfodo* i wneyd mwy etto, hyd nes y delom yn feddiannol ar, ac hefyd y gallom greu bywydau diderfyn ein hunain. Gobeithiaf ein bod yn ystyried yr hyn ydym yn ei wneyd, gan gofio am yr hyn a fydd canlyniadau ein gweithredoedd. A yw ein gweithredoedd yn awr, y fath y dymunem eu dilyn byth? A yw y canlyniadau, sy gyssylltiadol a'n gweithredoedd, y cyfryw y carem eu cael tros byth? Gwneyd ein dyledswyddau yn *awr*, a ennill nerth i ni allu eu gwneyd rhagllaw. Gobeithiaf i'r holl Saint, a ddaethant yma, ddyfod i dderbyn addysg at wneyd a byw eu crefydd, fel y mwynhaom oll dragywyddol fywyd, i gynnyddu, yn etifeddion bywyd annherfynol. Ystyriwn ein gweithredoedd a'u canlyniadau; sef nyni, y rhai ydym wedi cael gwybodaeth ein bod yn blant i Dduw, yn gyd-etifeddion a Christ, ac yn dechreu gwneyd y gweithredoedd sydd er ein dyrchafu o gylch i gylch, hyd nes yr elom heibio angylion, i blith y Duwiau fry, i fod yn ogyfuwch a Christ, a Christ yn ogyfuwch a Duw. Ac, a'r meddwl hwn ynom, wedi ei achosi gan yr ernes a dderbyniasom, yr hwn ernes sydd yn gofyn, ac yn teilyngu perffaith ufydd-dod genym, dangosir ein dyledswyddau tuag at ein gilydd, i fod fel ein Brawd hynaf, yr hwn a roddes ei fywyd i lawr drosom. Pe y gwnelid hyn, ni welid un brawd yn digio a chenfigenu wrth frawd arall; eithr aberthai pob brawd ei deimladau personol, a dioddefem yn

amyneddgar 'er lles ac adeiladaeth y naill y llall, byddem felly oll yn UN; fel mae y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân yn UN a'u gilydd, y byddem ninnau oll yn un ynddynt hwy.

Pe y deallem yr hyn yw bywyd, deallem hefyd fod ynddo awydd i ddwyn bywyd i ereill; fel hyn yr oedd Mab Duw, yr hwn a ddywedodd, "Lle yr wyf fi, yr wyf yn ewyllysio fod o honynt hwythau hefyd." Nid yw Efe yn boddloni ar ei orsedd mewn gogoniant, yn mhlith archangylion, heb weddio, eiriol, ac ymdrechu cael ereill yno hefyd. Dyma yw natur y Duw a addolwn; sef, ewyllysio dyfod o bawb i *wybodaeth* o'r gwirionedd. Oni ddylem ninnau, y rhai a dderbyniasom yr Ysbryd Glan, ernes yr etifeddiaeth, a gwybodaeth o'r gwirionedd, ymdrechu ennill ereill i feddiant o'r un bywyd a ni ein hunain? Wrth ymdrechu ei hau a'i blannu, cawn weled dynion o'n hamgylch yn tyfu i fyny, yn blodeuo, ac yn dwyn ffrwyth i santeiddrwydd, a'u diwedd yn fywyd tragywyddol.

Oddieithr i ddynion wneyd y gweithredoedd hyn, a neshau at Dduw, hwy a ymbellhant oddiwrtho at farwolaeth; sef, at dynged yr annuwiol. Gwrthodiad o fywyd, a fydd yn farwolaeth i'r gwrthodwyr. Felly, bydd dau ddosparth o ddynion yn cael adgyfodiad; y naill i fywyd ac anllygredigaeth, ar llall i farn ac i'r ail farwolaeth, i farw rywbryd; nis dywedwn pa hyd y byddant yn y llyn o dân a brwmstan, cyn y byddont farw, barned y neb a ddeall gywirdeb cyfreithiau y dadansoddiad. Marwolaeth yw y gospedigaeth oddiwrth y Duw cyfiawn i'r annuwiolion a wrthodant fywyd. Nid wyf yn meddwl y darfyddant a bod yn sylweddau; eithr y darfyddant ag aros yn fodau corfforol. Hwy a ddaethant o rywle yn eu dechreuad; a dychwel yr elfenau, a gynnwys eu bodau corfforol, yn ol i'r un lle ar ol dioddef o honynt "gyflawn daledigaeth," am bob trosedd; ac felly, darfyddant ag aros yn fodau mwyach.

Frodyr yn yr Offeiriadaeth, ystyriwn fod allweddau bywyd a marwolaeth yn ein meddiant; ac na theimlwn yn esmwyth heb ymdrechu, yn ymroddgar, am gael dynion heblaw ein hunain i neshau at Dduw, fel eu hachuber i fywyd tragywyddol. Mae yr Offeiriadaeth yn llywodraethu yr oll a fu, y sydd, ac a ddaw; am hyny, chwychwi sydd a'r Offeiriadaeth hon genych, amlygwch eich duwiol anian, trwy ymawyddu am gael pob dyn i wybodaeth o'r gwirionedd. Mae bywyd ac angau, un a'r bob llaw i ni; ac

fel y mae marw yn ddadgyssylltiad, lleihad, cwttogiad, ac ymgyf yngiad byd nes ymwasgaru bodau corfforol i'w helfenau cyntefig, felly mae bywyd yn treiddio trwy, ac yn ymgylchynu a chynnal y bodau corfforol mewn cynnydd ac ymeangiad parhaus ac anherfynol. Y bywyd tragywyddol a fyddo ein rhan ni oll, trwy Iesu Grist. Amen.

Yr Henuriad Robert Evans, Abertawy.—Gan fod y gwaith hwn o Dduw, er gogoniant iddo Ef, a'n braint ninnau yw ei gynnorthwyo yn mlaen, gweddied y Saint am ddylanwad ei Ysbryd. Nid oedd genyf, yn y Gogledd, ond y Beibl, ac nis digwch, a chwi yn gwybod mai gwirionedd ydyw, os cymmeraf hwn etto. Testun gwerthfawr yw y testun a roddodd y Llywydd Brigham Young, a welais yn yr Udgorn; sef, YMDDIRIED. Cyn y gellir ymddiried rhaid cael y gwrthrych yn teilyngu ymddiried—Ymddiriedai Crist, yn y Tad, o herwydd. fel y dywed, "Fy Nhad i, sydd yn fwy na phawb,"—Dygodd amgylchiadau Pedr i golli ymddiried; ond pan adgenedlwyd ef i obaith bywiol, trwy adgyfodiad Crist oddiwrth y meirw, rhoddodd ei holl ymddiried yn Nghrist; a'i reswm am hyny oedd, "Ti a wyddost bob peth." Mae gan blentyn ymddiried yn ei rieni; ac er myned i ffair, neu i chwarae, am ei gartref, a bod ynghyfeillach ei rieni y mae plentyn, ac yno teimla yn ddiogel; oblegid ystyria ef ei dad yn gefn, yn dŵr, ac yn gastell iddo. Yr oedd Crist, trwy ymddiried yn ei Dad, yn cynyddu. Gan y gwyddai fod ei Dad yn fwy na phawb, nid oedd am addysg o un lle arall yn groes iddo. Yr oedd yn cael addysg gan y Tad; yr oedd yn gwneyd yn ol yr addysg hono; ac felly yn cynnyddu. Yr oedd Ef yn deall, fel yr oedd ei Dad yn deall; felly hefyd, y rhaid i ninnau gael pethau deallus, fel y gallom gyd ddeall a'r hwn sy'n arolygu trosom.—Ni siomwyd Crist gan y Tad; nid Crist a siomodd y dysgyblion; eithr eu meddyliau eu hunain. "Yr oeddym ni yn meddwl mai Efe oedd yr hwn a waredai Israel." Nac ymddiried i'th ddeall dy hun. Daeth Crist i argyhoeddi y dysgyblion o'u diffyg ymddiriod—"A wyt ti yn fy ngharu i?" a phan y cyfaddefodd "Ti a wyddost bob peth," daeth pob ymddiried i'w le. Honai Paul hawl yn ymddiried Eglwys Corinth, o herwydd iddo lafurio erddynt, a dysgu y gwirionedd iddynt, gan eu gofyn i'w ddilyn ef, fel yr oedd ef yn dilyn Crist.

Gwrthwynebodd Paul Pedr, am ei fod i'w feio; os oedd gwaith

Paul, yn beio Pedr, yn waith drwg, rhaid fod ymffrostio o hyny mewn llythyr yn fwy drwg; ac os ysgrifenwyd y llythyr dan lywodraeth ysbryd anmhriodol, ni ddylai ei fod yn y Beibl. Ond y gwir yw, dichon i ddyn mewn swydd santaidd lithro; er hyny mae yr Offeiriadaeth yn gywir. Beius oedd Pedr, mewn bwyta, —ond nid mewn athrawiaeth; o ganlyniad, y swyddogaeth yn ei gwirionedd sydd yn teilyngu ymddiried, ac nid y swyddwr yn yr oll a ddichon iddo fel dyn ffaeledig ei wneyd. Yr wyf fi yn ymddiried yn yr Eglwys hon, am fy mod yn gwybod mai Eglwys Crist, a'i Offeiriadaeth Ef ynddi yw hi. Yr hwn sydd yn diwalla y corff, a 'ddiwalla yr Ysbryd; gofalodd Duw am danaf mewn bwyd a diilad; ac am hyny, yr wyf yn ymddiried ynddo am bob dawn ysbrydol yn yr Eglwys.

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, EBRILL 22, 1854.

CYNNYDDIANT TEYRNAS DDUW YN NGHYMRU,—A'r ffordd oreu i wneyd hyny yw, udganiad ein HUDGORN yr wythnos hon etto; a dyna a fydd hefyd, â'i holl rym, hyd eithaf ei gylchrediad, tra yr ymddengys y pwysigrwydd o hyny mor hunan-eglur i ni ag yw yn bresennol; ac nid y'm yn teimlo un gradd o gyfnewidioldeb ynom am hyny hyd yn hyn; eithr o'r ochr arall, po fwyaf a fyfyriwn ar ogoniant teyrnas Dduw—y lleshad o'i chael—y golled o'i cholli, a'r tragywyddol ganlyniadau o'r naill a'r llall: po fwyaf a welwn o effeithiau andwyol gau grefyddau ein gwlad ar foesau eu proffeswyr, a pho fwyaf o fendithion a welwn fod deiliaid ffyddlon y deyrnas hon yn fwynhau, mwyaf o awydd a achosa hyny oll am ei chynnyddiant.

Y grediniaeth a greïr ynom, drwy fawr sêl ac ymroadau proffeswyr crefyddau ein gwlad, mai eu hawydd am deyrnas

Dduw a achosa yr oll, a'r ffaith o'n sicrwydd mai hon yw hi, a'n cymhella ninnau i udganu yn fynych, yn uchel, ac yn barhaus, mai dyma hi, gyfeillion! dyma yr eglwys y chwiliwch am dani; deuwch i mewn iddi, a chewch fwynhad sylweddol, *diammheuol*, o'r oll a ddysgwyliwch gael drwy ymgrefydda; cewch, a chanmil mwy nag a ddychymygasoch fod i'w fwynhau mewn crefydd. Addawwn hyn—sicrhawn mai gwir hyn oll, er dywedyd o holl offeiriaid gau grefyddau gwlad, a byd i'r gwrthwyneb,—y mae Duw gyda ni yn ol ei addewidion,—daw gyda chwithau os deuwch *chwi gyda ni* yn ei lwybrau Ef: ffeithiau anwrthwynebol fel hyn a'n gorfodant i waeddi â'n holl nerth, "Deuwch i deyrnas Dduw;" a phwy wedi gwybod hyn, a all dewi?

Nid genym ni yn unig y dylai fod y teimladau a'r awydd hwn; hyderwn fod y sêl deilwng o'r anrhydeddus deyrnas hon yn fywydol—ymegnïol, ac anwrthwynebol, yn nghalonau, gwythienau, mêr, ac esgyrn ein brodyr, yn enwedigol yn Llywyddion y Cynnadleddau, a Llywyddion y Cangenau, ac yn ein holl frodyr yn yr offeiriadaeth: oddiwrthynt hwy dysgwyliwn—*dysgwylia Duw*, a phob dynion da, fawr gymhorth er dwyn ereill i fwynhau bendithion y deyrnas hon. Rhesymol ddysgwylia y byd weled tanbeidrwydd ein sêl yn gyferbyniol i, ac yn brawfiadol o fawrogrwydd ein crefydd; a'u siomo, drwy ddifatterwch, diogi, neu anghydffurfiad, gwylied rhag y canlyniadau o rwystro cynnyddiant teyrnas Dduw. Rhesymol ddysgwylia holl wrthddrychau eu gofal hefyd, weled eu Llywyddion—eu blaenoriaid mewn pob daioni, ac yn mhob ymdrech i achub eu cyd-ddynion i deyrnas Dduw; pa fodd amgen eu beuïr hwy am ddifatterwch, nâ'r aflwyddiant canlynol?

Dangosa Llywydd ei sêl drwy, a'i ddoethineb yn gyferbyniol i'w gynlluniau a'i ymroadau i gael cyd-weithrediad ereill at y gwaith clodadwy hwn, yn fwy na phe ymdrechai hyd angeu ei hun, tra y gadawo ereill o'i amgylch yn hanner hepian, a'u dylanwad yn wrthdarawiadol i'w eiddo ef. Ni ddysgwylia y Cadfridog mai ar nerth ei fraich unigol, nac ar awch ei gleddyf ei hun y dibyna buddugoliaeth ar faes brwydr,—ni fwriadodd ein hollalluog Dduw wneyd yr oll ei Hunan, ac ni frwydrodd ein brenin Iesu yr oll fel nad oes ychwaneg a allwn ninnau wneyd, er sicrhau buddugoliaeth drwyadl iddo Ef, fel y mae y goreu i

ni; onide, pa fodd y gallasem ni ennill gwobr, ac anrhydedd i ni ac i'n heiddo yn ei deyrnas? O'r ochr arall, testun diolchgarwch a chymhelliad i ddiwydrwydd a ddylai y ffaith mai "*cyd*-weithwyr Duw ydym ni," ei fod ynom; ac mewn efelychiad o'i ymddygiad Ef atom oll y dylai pob Llywydd roddi pob cymhelliad i bob un o dan ei ofal, i fod yn "*gyd*-weithwyr" ag yntau yn y cylchoedd a'u gosoda. Cyd-weithrediad trwyadl yr oll a goronir â mawr fendith eu Duw; tra yr Henuriaid a'r Offeiriaid yn pregethu, yr Athrawon yn gofalu dros y gweiniaid a'r llesg, y Saint yn tystiolaethu wrth eu cymydogion, mai dyma grefydd Iesu Grist, a'u gwahodd i mewn i deyrnas Dduw; tra yntau a'i gynghorwyr, yn trefnu ac yn cylchdroi rhyw olwynion o'r peiriant dwyfol, i beri mwy bywyd, ac yn cadw yr oll a gaffont trwy nerth eu ffydd; tra rhai cymhwys i'r gorchwyl yn gwerthu neu yn lledaenu traethodau buddiol, i egluro egwyddorion ein crefydd i'r byd; tra y bo yr oll mewn cyd-weithrediad fel hyn, ni all teyrnas y tywyllwch sefyll o flaen milwyr ein Hiesu—y nefoedd o'n plaid, dan wenu, a roddai y fuddugoliaeth yn fuan i ni; gwelid lluoedd yn dylifo i'n plith o'r gonest galon a ymchwiliant am y gwir; gwelid y cangenau yn blodeuo fel y rhosyn, ac yn orlwythog o flasus ffrwythau,—doniau Ysbryd Duw, a gwelid miloedd ar fyrder yn prysuro i artrefu i'w gwaredfan yn mrig yr hwyr, megys "colomenod yn ehedeg i'w ffenestri," o flaen yr ystorom ddrycinog. Frodyr hynaws, Saint ein Ior! beth meddwch! a gymmeradwywch ein cymhelliad hwn? A ymddeffrown, ac a ymarfogwn ni oll dan arfau milwriaeth ein Brenin i frwydro ei frwydrau yn erbyn teyrn-fradwr-arch-elyn Duw a dyn? Ymchwilier am le i weithio,—ymdrecher llanw y cylch y gosodir ynddo gan yr hwn a bïa trefnu, a gweddier llawer am gynnorthwyadau Ysbryd y deyrnas ddwyfol hon i ddilyn ein cynghorion, a'u greddfu ar feddyliau ein gwrandawwyr, fel y dygont ffrwyth yn tarddu i fywyd tragywyddol. Oes, y mae gynym ffydd ddigonol i hyderu y cyd-ymffurfia yr holl Saint â'n ceisiadau yn hyn o herwydd, eu dyled i'w Duw ac i'w cyd-ddynion yw hyny; a hiraethog edrychwn am y llwyddiant cyfatebol i'w diwydrwydd.

Nid o herwydd y gwelwn yn ein brodyr ddiffyg teimlad dyledus at, na diffyg awydd am gynnyddiant teyrnas Dduw y

cymhellwn mor daer i ymroad—ni chaniatawn le i feddwl mor gul yn ein calon, eithr yr ystyriaeth o'r ffaith nad yw ein teimladau personol ni, pe ein calonau yn llosgi ynom, yn effeithio ar neb nac yn ateb y dyben o honynt, ond i'r graddau y prawf ein gweithredoedd cyssylltiadol hyny i ereill. Mud a byddar yw teimlad, ni fedd lais i alw neb i edifeirwch, ni all gymhell arall i unrhyw weithred; ac os na chymhella ei feddiannydd i brofi ei sêl drwy ei weithredoedd, i arall ni lesola; o ganlyniad, yr unig ffordd i ennill cyd-weithrediad ymegnïol ein brodyr yw, drwy eu herrio i efelychu ein mawreddog ymroadau ein hunain; ac felly, Paul-debyg, beiddiwn hwynt "i'n dilyn ni, fel yr ydym ni yn dilyn Crist."

Gorfodir ni gan bob ffaith gyssylltiedig i adnabod dwyfoldeb ein cenadwri—gorfoda ei *dwyfoldeb* i addef ei *hunigolrwydd*, ac o ganlyniad gorfoda ffeithiau dim llai na dwyfol y pwysigrwydd o'i hiawn draddodi;—dyben ein danfoniad yw achubiaeth dynion trwy ufyddhau i'n cenadwri; dibyna llawer ar y modd ei cyhoeddwn; mae gwahaniaeth mawr rhwng cyhoeddi dedryd ein cenadwri ar ei hanufyddion a pherswadio ein gwrandawwyr i ufydd-dod iddi; yr olaf a ddylai fod ein hamcan blaenaf, yr hwn a'n danfonodd a wna y llall yn effeithiol ddigon, wedi y metha ein hymdrechiadau taer, teilwng a chariadus ni a chael yr effeithiau dymmunol. *Achubiaeth*, nid *condemniad* ein gwrandawyr a ddylai fod ein hunig amcan,— *teimladau* o hyny a gynhyrfa daerineb cyferbyniol: rhybudd y byrbwyll-ddyn ac nid ffordd Duw yw "bygythiad ac ergyd, a'r ergyd ynmlaenaf,"—hollol groes i hyny a ddylai fod dull cenhadon Duw,—*achubwyr*, nid *dienyddwyr* dynion: *cymmodi* â Duw, ac nid peri ymrafael â hwy, a ddylai "gweinidogion y cymmod,"—ymddygiadau cymmodol a charuaidd a ddylent brofi i'r byd i bwy yr ymddiriedwyd "gair y cymmod," y trysor hwn mewn llestri pridd. Iawn brisiad o'r bendithion a fwynhawn ein hunain—iawn ystyriaeth o'n dyled i'n Duw am danynt—iawn ddeall o'r golled o fod hebddynt, ac iawn awydd i ryngu bodd ein Duw a'n cymhella i iawn draddodi ein cenadwri; ac "iawn gyfraniad gair y gwirionedd" a fendithir ar ei ganfed; am hyny, byddwn ddoeth, byddwn fywiog, gostyngiedig, ac etto yn wrol, yn ddiniwed, etto yn gall; ïe, byddwn bob peth, fel Paul gynt, i bawb heb wyro trwch blewyn ar egwyddor, athrawiaeth, nag

un iot o'n cenadwri na threfn ein Duw, fel yr *achuber*, goreu po fwyaf, o'n gwrandawwyr. Y sawl a elo allan yn enw ei Dduw ac a wnel felly a fendithir i fod o fawr fendith i laweroedd. Etto, dymunem argraffu ar gôf ein brodyr, mai i ddysgu y byd, ac nid i gael eu dysgu ganddynt eu danfonir—i ddysgu yr hyn a ddysgwyd iddynt gan yr hwn a'u danfonodd, ac nid i gael eu dysgu gan yr ysgolheigion, at y rhai eu danfonwyd i'w dysgu, ac i dystiolaethu mewn sobrwydd, yr hyn a wyddant eu hunain nid yr hyn a gredant neu a obeithiant yn unig; mae ein hoes a'n gwlad wedi cael merwino eu clustiau, a syfrdanu eu synwyrau braidd, trwy bregethu "cred a gobaith" yn unig, yn lle "tystiolaeth," ac ammheuaeth ac ofn, yn lle "sicrwydd mawr yn yr Ysbryd Glân;" dinystrio ac nid achub byd a wna hyn, fel y mae ffeithiau galarus yn profi i ni y fod hyny eisoes wedi gyru ein gwlad rhy ddwl i gredu *ffaith ddwyfol brofedig.*

---

NEWYDDION CARTREFOL.—Cymmafa chwarterol Gorllewinol Morganwg, a gynnaliwyd y Sul diweddaf yn Abertawy; ymgasgliad cyffredinol y Saint o'r gwahanol gangenau—sirioldeb a chariad ynghyd ag ymddygiadau boneddigaidd yr oll a awgryment fod llwyddiant achos y Gwaredwr o ddyddordeb mawr yn eu golwg; a phrofai cynnrychioliad y cangenau yn y cwrdd boreuol, a'r pleidleisiad unfrydol, dieithriad, i'r holl fesurau a gynnygiwyd i'w cyd-weithrediad yn y chwarter dyfodol, y fod teyrnas Dduw ar ei chynnydd yn nghalonau ei haelodau, yn lliosogiad eu rhifedi, ac mewn sêl gynnyddol. Boddhaol iawn oedd clywed ymroadau y Saint yn mhob cangen i werthu traethodau, ac i dalu am lyfrau; eithr mwy pleserus genym oedd clywed yr holl gynnrychiolwyr yn cyd-dystio fod yr Arglwydd yn arddel eu llafur drwy gyflwyno mwy-fwy o fendithion,—doniau yr Ysbryd Glân, undeb a chariad y mhob man yn gyferbyniol i'w diwydrwydd: cymhella hyn i fwy diwydrwydd, a chryfha y ffydd yn gyferbyniol i'r prawfiadau a geir o gymmeradwyaeth Duw.

Gorphwysai Ysbryd Duw yn nerthol ar y gwahanol Lywyddion a'r holl rai a bregethasant yn y cyfarfodydd drwy y dydd. Amlwg y gwelid amcanion daionus y Llywydd a'i gyd-weithwyr, nid yn unig yn eu hymdrechiadau i iawn reoleiddiad ac i dalu eu hen ddyledion ond hefyd yn eu penderfyniadau i fod

aenu y gwaith hwn i fanau lle nad yw; nid boddlon ydynt hwy, mwy na'r brodyr ffyddlon yn Sir Fynwy, i gyfyngu eu llafur o fewn cyffiniau eu siroedd; eithr, y Llywydd yn gyntaf, fel milwr dewr, a gynnygiodd ei hun i fyned a'r genadiaeth hyd gyffiniau Cymru lle y mae mwyaf o anghen am ei lafur, a thaer erfyniai ar ei frodyr i efelychu ei esiampl drwy ddyfod gydag ef; teilwng iawn o efelychiad yw hyn, a gobeithiwn y llwydda i gael llawer o frodyr ffyddlon, y rhai a allant lywodraethu eu hamgylchiadau teuluaidd fel ag i symud i weithio i fanau lle nad oes pregethu; ac y caiff lawer o'r swyddwyr, nad oes ereill yn dibynu arnynt, i fyned gydag ef i'r Gogledd; a thra y bydd ef yno bydd yn fanteisiol iawn iddynt hwythau. Cydunwyd i'r cangenau gynnorthwyo y rhai a allant fyned i bregethu drwy eu hanrhegu a thraethodau &c.—Cynghorodd y Llywydd fod cyfarfod bob nos Lun cyntaf o bob mis yn mhob cangen i gyd weddio am fendith ar lafur y cenhadon hyn, ac i gyfranu arian i brynu traethodau i anfon iddynt; a chan nad oes llyfrau yn cael eu gorfodi a'r unrhyw Gynnadledd heb eu hymofyn, buddiol i bob Llywydd cangen anfon drwy y prif ddosparthwr am ddigonedd o bob math o draethodau i fod ar law erbyn y cychwyna y brodyr. Penderfynwyd hefyd fod "Cariad Wledd," i fod nos Lun ar ol y Gymmanfa nesaf, ennill yr hon a fydd er cynnorthwyo lledaeniad y gwaith mewn lleoedd newydd. Pan y gwelwn ymroadau fel hyn gallwn ddysgwyl yn hyderus am lwyddiant cyferbyniol, yr hyn yw ein taer weddi barhaus.

---

## LYFRAU YN EISIEU.

I'r dyben o wneuthur Cyfrolau o'r "*Millenial Star*," "Udgorn," "Llyfr Mormon," a'r "Ath. a Chyf.," dymunir i Lywyddion Cangenau Cynnadledd Dwyreiniol Morganwg, gyfnewid a ni y rhifynau a feddant a'r law yn ol y dablen ganlynol; neu eu ceisio gan ereill a'u meddant yn eu cangenau mor gynted ag y gallent, a chynnorthwywn hwythau i wneyd cyfrolau cyfain drwy roddi iddynt yr un rhif o rai ereill yn eu lle. Cofier fod y lythyren E. yn y dablen, uwchben y nifer sydd yn *Eisieu* o'r gwahanol rifynau.

| Star, Cyf. 13. | | Etto 14. | | Ud. Cyf. 3. | | Etto 4 | | Ll. Mor. | | Ath. a Chyf. | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Rhif. | E. | Rhif | E. | Rhif. | E. | Rhif. | E. | Rhif. | E. | Rhif. | E |
| 1 | 37 | 1 | 34 | 1 | 65 | 1 | 77 | 1 | 27 | 1 | 49 |
| 2 | 38 | 2 | 23 | 2 | 65 | 2 | 76 | 2 | 31 | 2 | 48 |
| 3 | 33 | 3 | 30 | 3 | 65 | 3 | 70 | 3 | 31 | 3 | 46 |
| 4 | 34 | 4 | 34 | 4 | 64 | 4 | 75 | 4 | 30 | 4 | 45 |
| 5 | 34 | 5 | 22 | 5 | 33 | 5 | 60 | 5 | 28 | 5 | 43 |
| 6 | 35 | 6 | 25 | 6 | 52 | 6 | 41 | 6 | 21 | 6 | 47 |
| 7 | 32 | 7 | 31 | 7 | 62 | 7 | 35 | 7 | 24 | 7 | 48 |
| 8 | 30 | 8 | 29 | 8 | 64 | 8 | 56 | 8 | 16 | 8 | 45 |
| 9 | 31 | 10 | 21 | 9 | 61 | 9 | 29 | 9 | 27 | 9 | 46 |
| 10 | 28 | 11 | 16 | 10 | 38 | 10 | 6 | 10 | 17 | 10 | 41 |
| 11 | 34 | 12 | 10 | 11 | 2 | 12 | 32 | 11 | 16 | 11 | 37 |
| 12 | 17 | 13 | 1 | 12 | 56 | 13 | 26 | 12 | 16 | 12 | 37 |
| 13 | 32 | 15 | 17 | 13 | 62 | 14 | 110 | 13 | 13 | 13 | 38 |
| 14 | 19 | 16 | 10 | 14 | 34 | 15 | 96 | 14 | 12 | 14 | 8 |
| 15 | 18 | 17 | 5 | 15 | 2 | 16 | 95 | 15 | 13 | 15 | 32 |
| 16 | 19 | 18 | 20 | 16 | 11 | 17 | 121 | 16 | 12 | 16 | 30 |
| 17 | 19 | 19 | 48 | 17 | 20 | 18 | 101 | 17 | 11 | 18 | 4 |
| 18 | 9 | 20 | 44 | | | 19 | 109 | 18 | 13 | 19 | 4 |
| 19 | 18 | 21 | 44 | | | 20 | 120 | 19 | 6 | | |
| 20 | 21 | 22 | 44 | | | 21 | 120 | 20 | 2 | | |
| 21 | 19 | 23 | 44 | | | 22 | 121 | 21 | 4 | | |
| 22 | 13 | 24 | 41 | | | 23 | 121 | 22 | 3 | | |
| 23 | 19 | 25 | 42 | | | 24 | 121 | 23 | 3 | | |
| | | 26 | 42 | | | 25 | 120 | 24 | 2 | | |
| | | 27 | 41 | | | 26 | 121 | 25 | 9 | | |
| | | 28 | 45 | | | | | 26 | 4 | | |
| | | 29 | 46 | | | | | 27 | 11 | | |
| | | 30 | 46 | | | | | 28 | 2 | | |
| | | 31 | 44 | | | | | 29 | 2 | | |
| | | 32 | 44 | | | | | 30 | 2 | | |
| | | 33 | 43 | | | | | | | | |
| | | 34 | 44 | | | | | | | | |
| | | 35 | 43 | | | | | | | | |
| | | 36 | 43 | | | | | | | | |
| | | 37* | 41 | | | | | | | | |

Hyderwn yr ymdrecha Llywyddiaeth pob cangen i'n cynnorthwyo yn y gorchwyl o gyfroli y cyhoeddiadau hyn, o herwydd bydd hyny, nid yn unig yn eu cadw rhag difrodi, ond yn cyfoethogi y cangenau yn yr amser a ddêl; a bydd y rhai a gaffom ni yn eiddo i'r Gynnadledd. Dysgwyliwn y bydd y llwyddiant mawr sydd eisoes megys wrth y drws yn gwneyd marchnadfa dda i'r cyfrolau oll, a da eu cael. Hysbys yw mai cynnyddu eu gwerth y mae holl Lyfrau, yn enwedig cyhoeddiadau y Saint wrth y galwad parhaus, ond ofer, sydd am ol rif-

* O'r 37 hyd yr olaf y mae eisieu 43 o bob un.

ynau "Prophwyd y Jubili," ac ol gyfrolau y "*Star*," y "*Times & Seasons*," &c. Mae cynnyddiant y gwaith hwn yn ei wneyd yn fwy dyddorol, ac y mae ei dragywyddol ganlyniadau yn gwneyd ei hanes boreuol yn fwy gwerthfawr o hyd. Yn mhen ychydig flynyddau etto, bydd y cyfrolau a feddwn yn awr yn anmhosibl i'w prynu am arian braidd; o ganlyniad, dysged profiad ni yn y mynedol i sicrhau i'n plant ar ein hol, yr hyn ni allant hwy gael iddynt eu hunain. Bwriadwn ddarparu i rwymo llyfrau cyn hir yn rhatach nag y gellir eu cael yn awr, am hyn ceir hysbysiad etto. Er mai ar gangenau y Gynnadledd oon y galwn yn awr i lanw y dablen flaenorol; etto, crefwn sylw pob Llywydd Cynnadledd i'n hefelychu yn y gwahanol gangenau o'u cynnadleddoedd; lle y mae rhifynau *odd*, nac esgeuluser eu gwneyd yn gyfrolau. Sylw buan at hyn a'n boddhâ yn fawr.

---

## HYSBYSIAD, &c.

Gwynedd.—Udganwn yn uchel a'r drigolion y Gogledd hyd eithafion eu cyffiniau i ymddeffroi i frwydr boethach na brwydr Armaggedon, neu i roddi eu harfau i lawr fel dynion gonest; ac wrth lywyddion a Saint dywedwn ymbarotowch i frwydr—gwisgwch holl arfogaeth yr efengyl; canys, y mae cedyrn yr Arglwydd a chleddyf daufiniog yr ysbryd yn dyfod i'ch cynnorthwyo a'r fyrder. Y mae Llywyddion Cynnadleddau, a Llywyddion Cangenau, a Henuriaid teithiol a'r oll o ddewrion y deau a allwn hebgor, yn galw am *Volunteers* yn awr, nid yn erbyn Nicholas ond yn erbyn cryfach a chasach gelyn—sef, ei feistr ef; a Duw y nef o'u plaid a ddyry iddynt fuddugoliaeth. Dysgwylir y bydd y Llywydd Robert Evans, a'r dosparth cyntaf o'i gatrawd, ynghyd a'r Henuriad Robert Parry, a chyfran o'i gatrawd yntau, nad beth am Gadfridogion Ysbrydol ereill, i ymweled a chwi erbyn y Cymmanfaoedd nesaf.

Derbyniadau am Lyfrau o Ebrill 12, hyd y 11.—Sir Ddinbych, £1; Dwyr. Morganwg, £2 4s 7c; Sir Aberteifi, £2.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 16.] EBRILL 29, 1854. [CYF. VII.

## DIFYRWCH.

### GAN Y PRIF LYWYDD BRIGHAM YOUNG.

PAN yr eloch i ddifyru, neu i adfywiogi eich hunain mewn unrhyw dull pa bynag, os na allwch fwynhau Ysbryd yr Arglwydd y pryd hyny ac yno, fel y gwnelech pe mewn cyfarfod gweddio, gadewch y lle hwnw; ac na ddychwelwch i'r fath ddifyrwch neu adloniad, hyd nes y cyrhaeddoch feistrolaeth trosoch eich hunain, ac hyd nes y galloch reoli y dylanwadau sydd o'ch amgylch, fel y galloch gael Ysbryd yr Arglwydd mewn unrhyw sefyllfa y dichon i chwi gael eich lleoli ynddi. Y pryd hyny, ac nid hyd hyny, y daw yn weddus i'ch braint chwi, i'r eiddof fi, neu i eiddo unrhyw un arall o'r Saint, i ymuno yn y llawenydd a fwriadodd y Creawdwr er ein hadfywiogi. Dymunwn ar i chwi gofio hyn; ac fel y gwneloch, yr wyf yn ail-adrodd nad eich braint gyfreithlawn ydyw ymollwng i unrhyw beth mewn dull o ddifyrwch, *hyd nes y byddoch wedi cyflawni eich dyledswydd, a chyrhaedd gallu Duw* i'ch nerthu chwi at wrthsefyll a gwrthwynebu pob ysbrydion halogedig a ddichon ymosod arnoch, a'ch arwain ar gyfeiliorn; hyd nes y caffoch awdurdod trostynt, a thrwy eich ffydd, a gawsoch yn atebol i'ch gweddi a'ch deisyfiadau, y caffoch fendithion yr Ysbryd Glân, y gorphwyso arnoch, ac yr aroso ef gyda chwi yn barhaus.

Nis gallwch chwi byth gael fy nghydsyniad, i gytuno mewn difyrwch ac adloniad hyd nes y byddoch yn y sefyllfa hon, hyd

nes y byddoch wedi eich arfer a'ch dylanwadu gan Ysbryd yr Arglwydd ein Duw. *Clywch hyn, chwi holl Saint y Dyddiau Diweddaf! A wnewch chwi wario amser eich prawf am ddim, ac ynfydu ymaith eich hanfodiad a'ch bodolaeth?* Cawsoch eich cyfansoddi, a'ch dwyn i fodolaeth i'r dyben o barhau yn dragywydd, os cyflawnwch fesur eich creadigaeth, gan ddilyn y llwybr uniawn, sylwi ar ofyniadau y gyfraith nefolaidd, ac ufyddhau i orchymynion ein Duw. Y pryd hyny, a'r pryd hyny yn unig, y gallwch ddysgwyl y bydd i fendith y bywydau tragywyddol gael eu cyflwyno arnoch. Nis gellir ei chyrhaedd ar unrhyw egwyddor arall. A ydych yn deall y bydd i chwi beidio a bodoli, y deuwch i *lawn ddiwedd,* trwy ddilyn y ffordd wrthwynebol?

Breintiau a bendithion Saint y Goruchaf Dduw ydynt lawer. Ië! Yr oll ag y sydd yn y nef, ac ar y ddaear—teyrnasoedd, gorseddau, tywysogaethau, galluoedd, uchelderau, dyfnderau, pethau presennol, a phethau i ddyfod, gyda yr oll a allwch ei weled, ei glywed, neu feddwl am dano, ei sylweddoli, neu ei synied. Mae pob peth yn y nef, ar y ddaear, neu yn Uffern, er eich gogoniant, dyrchafiad, ac ardderchawgrwydd, os yn eich bywydau yr anrhydeddwch chwi yr Offeiriadaeth a gyflwynwyd arnoch; ac, yn yr amser cyfaddas, daw yr oll yn iswasanaethyddol i chwi, ond nid cyn hyny. Eithr os yr ymddarostyngwch i wasanaethu eich teimladau eich hunain, ac os na ddymunwch adeiladu teyrnas Duw, a santeiddio eich calonau, hwy a'ch arweiniant i lawr, a byddwch yn ddarostyngedig iddynt yn dragywyddol yn ddarostyngedig i'r gallu a'ch cystuddia ac a'ch poenydia chwi, ac a'ch dwg o'r diwedd i ddinystr; tra, os dilynwch y ffordd wrthwynebol, daw y teimladau a'r nwydau hyn yn ddarostyngedig i chwi; galluogir chwi i'w llywodraethu a'u rheoli hwynt, a pheri iddynt eich gwasanaethu chwi, ac iswasanaethu y gwrthrych a'r amcan oblegid y rhai eu planwyd yn eich monwesau.

Mynych yr edrychais ar bersonau yn myned heibio yn ol ac yn mlaen trwy ein Tiriogaeth, a'u clywed yn dywedyd. " Y rhai hyn ydynt y Mormoniaid hoenus; y rhai hyn ydynt y Mormoniaid llawen, ni welais i erioed y fath Gymdeithas!" Pa ham y mae hyn? Yn unig oblegid y mwynhant eu hunain, oblegid y cymmerant gymmaint cysur.

A yw dyn yn Sant, pan y delo i Eglwys Duw o dan y fath ddylanwadau, heb ond yn unig o herwydd yr ymddengys y Saint iddo ef yn ddedwydd? Na, nid yw ef ddim. Nis dichon i un person fod yn Sant, oddigerth iddo dderbyn yr Efengyl santaidd, a hyny o herwydd ei phurdeb, ei chyfiawnder, ei santeiddrwydd, a'i thragywyddol barhad. Gogwydda pob peth arall at ddarfodedigaeth, didoliad, a diddymdra; na, nid diddymdra, yn ol fel yr arferir y gair gan rai; canys nid oes y fath egwyddor a hyn, ond ymddattodiad neu ddadansoddiad, ac ymollyngiad i'r elfenau cyntefig.

---

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG.

[Parhad o dud. 217]

Pa les son am fyw yn Seion, heb geisio byw fel y dylem yma? Pa ennill sôn am fyw mewn gorfoledd, heb ymdrechu byw wrth ewyllys Duw mewn gorthrymderau? Am gael dangos ei nerth mewn gwendid y mae Duw.—Rhoddwn, Saint, ein holl ymddiried yn yr Arglwydd, am fwyd a dillad, am gwsg a bod yn effro, am ddoniau yr Ysbryd, ac am fywyd tragywyddol. Boddlonir Saint Cynnadledd Abertawy gan yr Udgorn; y maent yn deall llais eu bugail ac yn ymddiried ynddo. Llwyddiant mawr sydd yno; a'r llywyddion ac ereill yn derbyn y doniau ysbrydol. Y maent hwy, fel finnau, ac ymddiried yn ein Llywydd. Rhoddwn ein hunain yn eiddo i'r Arglwydd, gan fwyta, yfed, a gwneyd yr oll a wnelom er ei ogoniant. Efe a ofala yn un a'i addewid. Ein hymdrech a fyddo am fyned yn mlaen ar gynnydd mewn santeiddrwydd, gan fwrw ein holl ofal arno, a chan roddi ein holl ymddiried yn yr Arglwydd am ei Ysbryd, trwy Iesu Grist. Amen.

Y Llywydd Jones,—Gwir ymddiried a gynnwys ufyddhau i'r gwirionedd, o gariad atto, am mai gwell genym gael gwneyd ein dyledswyddau na pheidio. Gan mai diammheuol genym y cyflawna Duw ei addewidion, a chan fod difyrwch, lles, a bendith wrth wneyd ei ewyllys, dylai hyny ein tueddu i ymddiried ynddo Ef, trwy beidio a gadael i ffaeleddau personau attal ein hymddiried yn Offeiriadaeth Crist, yr hon sydd yn berffaith ddi lwgr. Rhyfedd i blant *Banker* ofni tlodi, a *check* yn eu meddiant? Pen *Banker* y byd yw ein y Tad ni. Dylai fod genym ymddiried yn

ein gilydd, gan ymdrechu lleshau ein gilydd. Rhyfedd a fyddai i filwr, ddywedyd wrth y llywodraeth wladol, neu i angel ammesymu a Duw, a gofyn ai nid fel a'r fel a fyddai oreu! Byddai hyny yn sarhad ar y synwyr a'u hanfonodd i weinyddu. Gan fod y milwyr yn ufyddhau trwy ymddiried i synwyr y llywodraeth wladol, wrth fyned i'r frwydr yn erbyn Rwssia, a gaiff plant y byd hwn fod yn gallach yn eu cenedlaeth na phlant y goleuni?

Os ydym am gyd-fwynhau yn Seion, ymdrechwn gynnorthwyo yr ymfudiad tuag yno; a thalwn ddyled ein Cynnadledd. Daeth cenadon o Seion, gan ymddiried yn y llywyddiaeth; cynnorthwywyd hwy yma i fyned i Benrhyn y Gobaith Da; a mawr fel y llwyddodd yr Arglwydd hwynt, er achubiaeth dynion yn y lle hwnw. Gan i'r Arglwydd gyflawni ei addewid, ac ymddiried i'n haddewidion ni, a thalu llog hefyd, a gaiff ein haddewidion, at y genadaeth hono, aros heb eu cyflawni? Cofiwch am y llyfrau: da a fyddai genyf weled ceiniog wedi eu thalu, am bob tair ceiniog sydd ddyledus—Ymdrecher talu am y llyfrau sydd ar law; ac yn lle eu gadael i wëodd y pryf copyn, neu yn fwyd i lygod, taler am danynt, a gwasgarer hwynt yn ymborth eneidiau: gwesgarer y traethodau, gan brofi yr ystyriwn ni yr Arglwydd yn deilwng o'n holl ymddiried—Rhodder pob moddion da mewn gweithrediad; gan ofalu yn ddyfal am fod dan fendith yr Ysbryd Glân, yn ymddiried yn yr Arglwydd, mewn cwbl ddiwydrwydd mewn pob gwaith da, trwy Iesu Grist. Amen.

Terfynwyd, gyda bendithiad gan yr Henuriad Thomas Giles, Tredegar, a chanodd y Còr yn gampus hynod.

*Hanner awr wedi chwech.*—Canodd y Côr, "yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw." Gweddiodd y Llywydd Daniels, a chanwyd "chwi etholedig bobl Dduw."

Gwedi i'r Llywydd Jones, grybwyll ei obaith mai dyben pob un ydyw cael a derbyn lleshad, trwy wrandaw, credu, a gwneyd y pethau da a ddysgir iddynt,

Y Llywydd Jeremy, a roddodd hanes ei daith yn Nglogledd Cymru, dull y bobl yn ymddwyn tuag ato, agwedd y Saint, ac annogaeth i'r brodyr a allont, ymweled a'r Gogledd, a phregethu yno yr Efengyl.

Adroddodd hanes ei ddychweliad. trwy offerynoliaeth y Llywydd Jones, at y Saint; a chan fynegi y fath oedd ei brofiad ar yr amser hwnw, dywedodd bethau tueddol i lesoli proffeswyr

ieuainc; a mawr y daioni a wnaeth i lawer trwy hyny. Dywedai am yr erlid a gafodd; ac hefyd, ei fod o'r dydd y bendithiodd yr Arglwydd Ef, trwy ei Ysbryd, hyd heddyw, yn gwybod mai Eglwys Iesu Grist yw hon.

Canodd y Côr yn odidog.

Y Llywydd Jones.—Ymddengys yma bawb yn ddifyrus, a chlywsom yn fanwl iawn am y ffordd sydd yn dechreu rhai yn Nghrist, gan y brawd Jeremy. Gwers dda, oedd clywed am y modd yr erlidid un oedd ieuanc yn yr Eglwys; ond y wers bwysicaf, oedd un yn taro ar y testun y meddyliais ddywedyd ychydig arno; sef, y wers i'r swyddogion, am iddynt ymdrechu myned i'r gogledd, a phregethu yno yr Efengyl. A yw ein hiraeth, am i ereill fwynhau bendithion yr Efengyl, mor rymus a'n hiraeth am y gobaith a osodwyd o'n blaen ni; sef, bywyd tragywyddol? Nid ydym, fel y sylwais o'r blaen, i fod yn segur. Ystyriwn werthfawrogrwydd eneidiau anfarwol. Pe na buaswn yn Llanybydder, buasai y rhai gonest a gredasant heb glywed hyd yn hyn, heb i rywun arall fyned. Mae yma frodyr, a chanddynt y trysor mewn llestri pridd, wrth yr ugeiniau ar cannoedd. A allwn ni sefyll yn y fan, a dywedyd i ni wneyd yr oll a allasem tu ag at achub eneidiau? A yw pregethu wedi darfod? Bu llythyru ataf fod trefi, plwyfi, a siroedd yn Nghymru, heb bregethu o'u mewn, ac eisiau pregethwyr ynddynt. A gawn ni segura, gan beidio ymdrechu anfon yr Efengyl at y lluoedd sydd ochr yn ochr a'u gilydd, oddi yma hyd i Gaergybi, heb un i lywyddu arnynt? Pwy a aiff? Pwy a wna ateb, "Wele fi, anfon fi?" Pwy a ddywed, "Myfi a âf?" Haerir gan rai nas gallant, am eu bod yn gweithio; a'u bod er gweithio yn galed, yn myned dlotach dlotach o hyd. Pa ryfedd eu bod yn myned dlotach dlotach, a hwythau, trwy ymdrafferthu am arian, yn anufyddhau i Dduw, gan beidio a phregethu yr Efengyl i'r bobl? Dywed ereill nas gallant, am eu bod yn myned i briodi: nid wyf yn erbyn i ddynion briodi, ond dymunwn sibrwd yn ynghlustiau y menywod, am iddynt beidio myned a dynion ysydd a'r Dduw eu heisiau. Prioded dyn pan fyddo ganddo amser; eithr gwnaed waith yr Arglwydd yn gyntaf. Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder Ef, a phob peth arall a roddir i chwi yn ychwaneg. Nis gallaf adrodd fy nheimladau wrthych am y peth hyn; yr ydych yn gwybod, am fod Duw wedi rhoddi gwybod i

chwi mai hon ydyw Eglwys Iesu Grist; gan hyny, onid yw yn ddyledus arnom fyned a phregethu gair yr iachawdwriaeth hon i ereill? Mae yma ddigonedd o bregethwyr ar yn ail a'u gilydd: ymwasgarer fel na chlywom lais ein gilydd yn pregethu, canys y mae Duw yn dywedyd EWCH. Ystyriwn nad digon yw a wnelom hyd nes y cyflawnom ein dyledswyddau tuag at yr Arglwydd. Ceir cymhorth, ond myned yn enw yr Arglwydd; na ddyweder "Myfi a awn pe byddai genyf fodd;" daeth rhai wyth mil o filltiroedd tuag yma, i blith dyeithriaid, ac o blith dyeithriaid gwledydd ereill; ond ai tybied yr ydym nas gallwn ni fyned, a phregethu, yn mhlith ein cydgenedl? Ai tybied yr ydym nas gallwn fyw a chael gwrandawiad yn mhlith ein pobl ein hunain y Cymry? Yr wyf yn cynnyg fod i bob llywydd cangen feddwl am ei ddyledswydd, a chymmeryd y peth hyn at ei ystyriaeth. Y mae fy nghalon yn teimlo wrth glywed galwadau taerion am bregethwyr i ddynion. Pwy a drydd yn wirfoddol i fyned a phregethu i'r bobl? Os ydym am wobr pobl fawr, gwnawn waith pobl fawr. Beth yw llais Duw at y rhai a gyflogodd i'w winllan a hwythau yn cymmeryd ei amser Ef, i wasanaethu eu teimladau eu hunain? Yr wyf yn gobeithio y caiff fy nghymhelliadau hyn eu priodol effaith, ac y daw swyddogian i godi a myned a gweithio gwaith Duw, trwy lafur cariad. Trwy ddiwydrwydd rhai gweision Duw y sefydlwyd cangen, a changenau, fel y bu i gynnadleddau ddyrchafu o honynt. Felly, trwy ddiwydrwydd a ffyddlondeb eu cyffelyb, y mae gwneyd a llwyddo etto. Mewn difrif, onid syndod yw fod dynion a gawsant grefydd, fod dynion a gawsant dystiolaeth sydd ddigon grymus i'w tueddu i ymadael a chyfeillion, a pherthynasau, ac a gwlad eu genedigaeth, gan fyned filoedd o filltiroedd o ffordd; onid syndod meddaf, yw fod dynion felly heb ystyried y cyfryw dystiolaeth yn werth myned gyda hi a'i chyhoeddi yn mhob cwr o'u gwlad, i'r dyben o geisio dwyn ereill o'u cyd-genedl i fwynhau y cyffelyb fendithion anmhrisiadwy? Y bugeiliaid hyny, ag ydynt yn gweled y bobl yn eistedd yn mro tywyllwch a chysgod angau, ac heb rybuddio y bobl, sy fugeiliaid y bydd i Dduw ofyn gwaed y bobl oddiar eu dwylaw. Pwy a all fod yn ddifraw? Pwy a ddichon fod yn ddiawydd am ryddhau ei hunan o'r perygl o glywed Duw yn gofyn gwaed y bobl oddiar ei ddwylaw.

Hyfryd yw cyfarfod a'n gilydd, mewn Cymmanfa fel hon, a

gweled gwynebau Offeiriaid, a Henuriaid Eglwys Dduw. Hyfryd iawn a fydd cael cyfarfod etto yn Seion, a dywedyd yno yr hanes fel y bu arnom yn Babilon. Frodyr, Gwyliwch! Gwyliwch i glywed yno na phregethasoch i'r rhai y gallasech bregethu iddynt fod megys angau yn y crochan i chwi! Mae cael bendith gan Dduw yn ymddibynu ar i ddyn rodio llwybr ei ddyledswydd. Nid oes genym hawl ar ein hamser, ein hiechyd, ein heiddo, na'n hunain; Duw a'n pia ni a'r oll sy genym; gan hyny gofalwn am roddi iddo Ef ei eiddo ei Hun! A yw ein tafodau yn barod i ddywedyd ein bod yn myned,—yn myned a phregethu i'r bebl? Mae yma bregethwyr mor liosog, nas gwyr eu llywydd pwy i'w alw i sefyll, rhag digio arall! Mae lleoedd ereill a rhy ychydig o bregethwyr yndaynt, ac y mae lleoedd hefyd heb un! Ceir mewn rhai manau ormod o lyfrau; gwasgarer hwy i leoedd nad oes ynddynt lyfrau, a gwasgarer y pregethwyr i leoedd y byddai yn fendith eu cael a'u clywed. Mae y byd yn brwydro, a dynion yn ymfyddino wrth y miloedd i ladd eu cyd-greaduriaid; ymfyddinwn, ac ymrestrwn ninnau i achub, i fywhau, ac i alw dynion at Dduw fel y caffont fywyd tragywyddol.

Yr wyf yn cynnyg fod cariad wledd i gael ei chadw yma, ar ddiwedd ein cyfarfod Cynnadleddol nesaf, a'r arian a fyddo tros ben y draul i'w rhoddi at gynnorthwyo y rhai a ânt i bregethu trwy y wlad: egyr yr Arglwydd ffordd; gofala Ef am danom; a deffroer ni oll at ein dyledswyddau, a gwneyd fel y gallom roddi cyfrif yn llawen. Y Tad tragywyddol a'n bendithio a chflawnder o'r Ysbryd Glân, trwy Iesu Grist. Amen.

Y Llywydd Daniels.—Hyderai fod pawb yn awyddus i wneyd gwaith y cynhauaf mawr; gwybyddus iddo fod anghen llafurwyr: ac wedi llafaru yn fywiog a serchus, er annogaeth i bregethu trwy y wlad, crybwyllodd fod gwaredigaeth yr holl rai ffyddlon yn agoshau; ac mai ein braint yw boddloni i gyd-ymffurfio ag ewyllys dadguddiedig Duw. Llawenhai yn herwydd yr arwyddion fod pob ymddiried gan y Saint yn y swyddogion: erfyniai ar y rhai a allont, fyned a galw dynion o dywyllwch i oleuni; a bod yn benderfynol o'r newydd i wneyd yr oll a allont, tan arweiniad yr Ysbryd santaidd, er gogoniant y Tad, trwy y Mab, Iesu Grist. Amen.

Canodd y Côr yn rhyfeddol.

Yr Henuriad Thomas Giles, Tredegar, a ddywedodd ychydig o

hanes ei ddecreuad gyda yr achos goreu: crybwyllodd rai amgylchiadau a'i cyfarfyddodd, a mynegodd lawer o bethau difyrus ac adeiladol, gan ddilyn annogaethau i fyned a phregethu, yn gyffelyb i fel y gwaeth y Llywyddion Jones, Jeremy, a Daniels.

Yr Henuriad Dewi Elfed Jones.—Mynegodd fod Cynnadledd Llanelli mewn teimladau da, yn gwellhau, ac yn mwynhau mwy nag arferol o Ysbryd Duw. Y bod gwrandawiad da gan y byd, a rhai o'r byd yn dangos eu caredigrwydd trwy roddi cynnorthwy: ond ei fod yntau hefyd yn teimlo yn ddwys tros y cyfryw garedigion, ac mai ei ddymuniad ydyw eu gweled yn dyfod i mewn i'r Eglwys, trwy gredu yn Nghrist, edifarhau am eu pechodau, cymmeryd eu bedyddio er maddeuant pechodau, cael arddodiad dwylaw yr Henuriaid, derbyn o bonynt yr Ysbryd Glân, a dyfal barhau hyd nes cyrhaedd gafael ar y bywyd tragywyddol mewn dedwyddwch.

Y Llywydd Jones.—Llanwyd ein llestri yn dda heddyw. Dymunwn i'r henuriaid fod bob amser yn ymdrechgar am lenwi meddyliau eu gwrandawwyr a phethau da Pe eu llenwid a phob math o bethau, byddai perygl i'r naill beth redeg trosodd, a'r llall, na fyddai gystadl, yn aros i mewn. Gobeithiaf yr a pob Henuriad ac offeiriad allan mewn ufydd-dod i'r alwad ddwyfol, i ymdrechu achub y dynion sy mewn tywyllwch, yn myned tua cholledigaeth. Pwysigrwydd y gwaith a orphwyso ar ein meddyliau, gyda difrifoldeb, gan fod yn awyddus i gyflawni holl ewyllys Duw, tan arweiniad yr Ysbryd Glân, trwy Iesu Grist. Amen.

Canodd y Côr "Mae'r boreu'n agoshau, &c.," gyda nerth bywiog, medrusrwydd peroriaethol, ac effeithiau dymunol anghyffredin.

Terfynwyd, gyda bendithiad, gan yr Henuriad John Evans, Aberteifi.

---

## UNOLIAETH DYBEN.

UN DYBEN, da ei wybod,—yw cwlwm
Calon y bydysod:
Sef, rhoi glân gynnwysfawr glod
Gorodidawg, i'r DUWDOD!

ROBYN DDU, ERYRI.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, EBRILL 29, 1854.

HANESION EGLWYSIG CARTREFOL.—*Llu o Offeiriaid a Pharchedigion, yn pregethu Mormoniaeth.* Swn mwy hoff a sain mwy hyfryd am fedyddiadau, cynnyddiant doniau, ac ymroadau i ymgrefydda, a gyrhaedda ein clustiau yn barhaus o wahanol ddosparthiadau yr eglwys Gymreig; cyd-dystia ymroadau adnewyddol pregethwyr gau grefyddau ein gwlad "i ddarlithio" fel y dywedant hwy, eithr i gamgyhuddo meddwn ninnau, yr hyn a alwant yn Formoniaeth, ynghyd ag ymddeffroad y diafol o'i gysgadrwydd i feddiannu pobl etto, y fod teyrnas Dduw ar ei chynnydd yn ein plith Er's ychydig yn ol y swn a glywid gan bregethwyr oedd, "gadewch lonydd i'r 'Mormoniaid,' peidiwch a'u herlid y maent yn marw o honynt eu hunain yn gyflym, rhwng y rhai sydd yn ymfudo i California, a'r rhai sydd yn troi yn ol, buan y cawn lonydd ganddynt oll, na thrwblwch o'u herwydd." Ac felly nid oes llawer o ddarlithio wedi bod i'w herbyn er ys amser, oddieithr ambell bwt o ystori drwy y cyhoeddiadau, er cael gwaith chwerthin, ac ystoriau anllad a dwl yr "Offeiriaid" yn draethodau a baledi; ond pwy mor ddwl a choelio dim a ddywed "Offeiriaid?" Hawyr! a oes rhywun mor anwybodus oddiyma i ben mynydd Epynt a bod heb wybod mai Offeiriaid, iselaf wasaidd ydynt i dad y celwydd, a'r unig wahaniaeth sydd rhwng eu celwyddau hwynt â'r eiddo y meddwyn a'r canwr baledi, neu eu tad eu hunain yw, fod tipyn mwy o sawyr *colegawl* ar eu hanadl hwynt; yr hyn, yn amser teyrnasiad y *bwci bw* Revrendaidd ar synwyrau y werin. oedd yn gryn lysnafedd oddiamgylch cnwbyn o gelwydd go erchyll, a thrwy ei seimio â thipyn o rith duwioldeb hwthid i lawr gyddfau eu hudoledigion yn brysur; eithr nid felly yn awr; y mae pobl yn gwybod yr anghen o ddefnyddio eu trwynau eu hunain, a gwyddant wahaniaeth

rhwng sawyr pwll tomenau Offeiriaid a gwely pwsiau y gwirionedd; gwelant yn eglur pan edrychant drwy eu llygaid naturiol eu hunain, y rhai a roddes y Creawdwr yn eu penau, mai *spectol* yr Offeiriaid a wnai i bob peth edrych mor ddychrynllyd rhagor yw; y mae *magnifying powers*, neu *magicial force* y *spectol* Offeiriadyddol yn dyfod fwy i'r amlwg bob ymdrech a wnant i'w gelu. Pwy ond Offeiriaid duwiolfrydig y "*brif dywysogaeth*" sydd yn deilwng o gael "*Aladins lamp*" yr oes,—pwy a allai wneyd mwy o ddefnydd o honi i ddangos pob peth y peth nad yw, ac i ddangos y gwir yn gelwydd, a'r celwydd yn wir, y tywyllwch yn oleuni a'r goleuni yn dywyllwch, nag a allant hwy? Gan bwy y mae cymmaint o amser segur i ddweyd ac ysgrifenu celwyddau am grefydd eu cymmydogion, a phwy sydd yn cael cymmaint o arian am rwystro y werin i glywed a derbyn efengyl Crist ag yw Offeiriaid Babel, ac nid yw eu sel ronyn llai teilwng o'u cenadaeth, nag oedd sêl eu brodyr Baalaidd gynt; ac felly, paham ar nad hwy a deilyngant y *Lamp* ddefnyddiol hon, ag sydd bob amser yn dangos pob gwir yn gau, a da yn ddrwg. Ond beth am hyny? Dim, ond tipyn o hynt i'r Offeiriaid i wneyd eu gwaethaf, druain, nad yw Mormoniaeth yn hidio ddim mwy am danynt oll nag oedd Elias am gau-brophwydi Baal gynt. Ysgrechant, gwaeant, cordeddant eu celwyddau mor deg eu lliw â'u crysau gwynion, etto ni allant wneyd un niwed i Formoniaeth: y mae hi allan o'u gafael, a gwnant eu gwaethaf, ni fydd gwaeth iddi.

Ond i ddychwelyd oddiwrth yr Offeiriaid hyd nes y bo "y carth wedi tyfu;" yr oeddem yn bwriadu dweyd bod yr Offeiriaid yn cael help yn awr i bregethu Mormoniaeth; canys deallwn fod rhyw weinidog Wesleyaidd yn pregethu Mormoniaeth yn Llanymddyfri yn brysur iawn; methodd a chael neb i'w rwyd Wesleyaidd, a threia y rhwyd Formonaidd i ddal pysgod; *wel done*, Mormoniaeth! y mae hi yn fwy poblogaidd na Wesleyaeth, onide ni buasai y Wesley yn taflu ei hen rwyd gandrill ei hun i lawr, ac yn codi Mormoniaeth yn ei lle! Ond, i ddychwelyd at ein hanes; ust, do anghofiasom gyhoeddi y fod un arall yn pregethu Mormoniaeth y Llyn Halen; yn darlunio yr elephant, ei gyrn a'i garnau o'i goryn i'w sawdl yn Aberystwyth yn fuan; ow, ow, pa fodd yr anghofiasom udganu hyn, a'r gwr wedi bod yn California ei hunan! bydd yn siwr,

o ddweyd y gwir am y seintiau, canys y mae efe yn *elyn parod* iddynt; siwr y ceir y gwir gan y cyfryw, heblaw y mae efe yn *Wetleyad* hefyd; wedi bod yn addoli ac yn dilyn y Duw *melyn* hyd i California; ac yno yn deall iddo fyned i'r cerbyd go chwith yn ei gwsg, a chyn hanner deffro dianc yn ol i'w ei addoli ef yn Nghymru, yn hytrach dan yr enw o Formoniaeth. Pwy fuasai yn meddwl mewn difrif fod Mormoniaeth yn fwy poblogaidd na mwngloddiau nac California; mae y fod un Wesley, *bach* na *mawr*, mor selog dros Formoniaeth a dyfod yr holl ffordd oddiyno i Aberystwyth, i'w phregethu hi, pan y gallasai wrth aros yno lanw ei boccedau ag aur! O dyma ŵr ffyddlon, pwy nad el i wrandaw hwn a chredu pob peth a ddywed? Bid siwr, y gellir credu pob gair a ddywed hwn, o herwydd *gelyn yw* er y fod amryw o Formoniaid wedi dyfod o'r Dyffryn, a fuasent fyw flynyddau yno, ac yn awr yn Nghymru; ond ni allant hwy druain ddweyd y gwir cystal ag y gall y Wesley, tra na chafodd ond cip olwg ar y lle wrth fyned heibio. Ond beth am hyny? Dim yn y byd, lliwia ei ystori â'i frwsh a'i baent llawn cystal a phe gwir, a hawddach ei llyngcu.

Ond i geisio dychwelyd unwaith etto; yr hyn a geisiem ddweyd o hyd yw y fod y Parch. Mr. Jones, [*nid o Langollen* ond o] Capel Seion, Merthyr." Gweinidog parchus gyda y Bedyddwyr yn pregethu Mormoniaeth yn gampus iawn yn ol a glywsom! trueni fod ar Mr. Jones, gywilydd pregethu Mormoniaeth yn ei gartref. ond dianc mor belled â Llanelli Brycheiniog i'w phregethu; bid siwr, y buasai yn dda genym ni ei glywed yn pregethu Mormoniaeth, a ninnau yn ceisio a'n holl egni ei phregethu er's blynyddau bellach! Pa ham nad ymffrostiwn o gael cymhorth enwogion fel hyn i bregethu Mormoniaeth? Goreu po fwyaf a ddel; gan i ni gael y flaenoriaeth yn hyn, a digwydd bod yn gyntaf braidd i godi ein llais o'i phlaid, credwn fod i ni ryw fath a hawl i wahodd ereill at y gwaith, a gwahoddwn holl *Beirch* y wlad o bob sect, anffyddwyr a chrefyddwyr meddwon i'w rhegi, a'r deillion i ganu baledi iddi! Rhyw *interlute* bertiach nac a wnaeth "Twm o'r Nant" erioed a chwareua holl bregethwyr Mormoniaeth yn ein gwlad ni! Nid oes neb yn *edrychwyr* braidd, *chwareuwyr* yw pawb! Onid yw Mormoniaeth yn beth swynol hynod? Beth geir yn gystadl a hi i dynu sylw, a hithau yn beth bach "mor ddistadl a

disylw" hefyd! Wel, ni ddylai neb fod yn segur na dioglyd pan y mae cymmaint perygl mewn Mormoniaeth ag i lusgo Mr. Jones, ar ei ffyn baglau yr holl ffordd bell hyd Llanelli i'w phregethu! Gyfeillion synwch, ymddeffrowch ar frys a deuwch yn mlaen i bregethu Mormoniaeth i gyd, fawr a man, o bob plaid a diblaid, y mae yn llawn bryd pan y mae cripples yn ymlusgo draws y byd i'r ymgyrch clodadwy! Ni raid i neb ddigaloni, gall pawb wneyd rhyw beth; ac nad beth a fo, gwell hyny na dim. Mae *Mormoniaeth*, yn air bir—fawr gynhwysfawr ac yn ddigon o destun i y nifer a fynoch o bregethau i chwi oll; ni raid fod byth allan o ddefnyddiau; y mae hi fel yr *India Rubber* yn stretchio o hyd po fwyaf a dynwch wrthi. Onid cofus yr holl ddarlithiau a fu drwy Gymru oll o Gaerdyf i Ddowlais, Rymni, pw, ïe, pob man a Chaergybi hefyd: ac nid yw hi fymryn llai o swm yn awr, na chyn iddynt oll ddechreu. Ymgalonogwn oll dyma ddigon o bwnc i ni oll; ïe, pwnc a bery yn newydd o hyd er fod pob un yn ei dro yn ei orphen—cath a naw gwaith bywyd mam cathau byd ynddi yw hon na arosa byth yn farw ar ol cael ei lladd a'i chladdu, ni fu erioed greadures mor anfarwol a hon rhwng gewinedd na than ddannedd Offeiriaid, Peirch. na Bel. ei hun! Mae yr oll yn ei lladd o hyd ac y mae hi yn fwy byw po fwyaf a leddir arni bob tro! Wel. pwy raid fod heb ddigon o waith ynte? Neb tra byw fo Mormoniaeth. Deuwch un, deuwch oll, deued holl uffernolion hefyd; pa wiw, pa waeth, deuwch yn nes gyfeillion, a gadewch i ni whispro gair bach i'ch clystiau; *ust*, gwrandewch, "*labour in vain*," coeliwch ddyn dwl yn dweyd rheswm; neu, rhag nad ydych yn deall Saesoneg, ac felly colli y *secret* hon, cyfiaethwn hi i chwi fel hyn; gwir Efengyl Iesu Grist yw Mormoniaeth, dywedwch chwi a fynoch, ac yr ydym yn ni gwybod hyny. Mae Duw o'n plaid ni a Mormoniaeth yn eich erbyn chwi a'ch gau-gristionogaeth dyfais eich tad, tad pob erlidigaeth a fu ar wir grefydd; ac yr ydych chwithau yn rhy ddwl i ddim os na welwch hyny bellach! Beth arall o ddifrif, meddwch chwi yw yr achos nad allech rhyngoch oll er treio eich gwaethaf ei lladd hi? Beth arall ond y Duwdod sydd ynddi a achosai iddi gipio yn ei chol y gonest galon o'ch ymyl, o'ch societies, o'ch setau o dan y pwlpudau; ïe, yn nes fyth; oni bai fod gwirionedd yn ei chalon, a feiddiai hi fod mor eofn a

ddringo i'ch pwlpudau yn awr ac eilwaith, a chwympo eich cewri heb eich cenad. Ac yn y man, yn lle eu dilyn fel y dylech, wbanwch "hoo-di-hoo" ar ei hol! Beth ond dwyfoldeb Mormoniaeth a ddaliai ei gafael yr y cyfryw drwy bob gwawd hyd angeu? O chwi, ddeillion ac ynfydion, a'i chwychwi a allwch ladd Mormoniaeth? Y symbwl caletaf ag y gwingasoch i'w erbyn yw; ac, hi a symbyla ei gwrthwynebwyr nes eu symbylu oll ynghyd at eu tad i gonglau pellaf gwlad annwn, a chant yno le ac amser i edifarhau am eu dwlni yn ceisio pregethu Mormoniaeth cyn deall beth oedd hi! Eithr unwaith etto dychwelwn o'n crwydriadau, a pha beth am yr holl ddwlni yna, ebe y darllenydd? Dim ond tipyn o ddifyrwch i lanw tudalenau yr UDGORN, heb allu cofio dim arall, efallai; doethach na Paul i'w y dyn na siarado beth dwlni weithiau; addawsom ninnau chwareu ambell *dune* ar boblogrwydd yr oes, drwy ein HUDGORN, ac ni wyddom am ddim mwy poblogaidd na Mormoniaeth: eithr crefwn gennad i adael ei phregethwyr sectyddol am ennyd i wrandaw ystoriau ei phregethwyr gwirioneddol hi, a barner wedi hyny pa rai yw y goreu.

Wel, y mae yr olaf wrthi hi â'u holl egni y ffordd y cerddwn, yn pregethu yn ol yr ysgrythyrau, ac yn bedyddio pobl gan eu hannog i fyw yn gyfiawn a duwiol; tra y mae y lleill yn pregethu esboniadau a chredoau croes-ysgrythyrol, a chroes i'w gilydd, dan wban fel y *jackals* fod bendithion Eglwys Crist wedi darfod, ac nad oes eu heisieu. Etto, nid yw waeth beth, Mormoniaeth sydd drech, rhaid addef; ac yn lle marw, y mae mwy o fywyd yn eu gwythienau yn awr nag erioed; ac os na chyfaddefir hyny cyn diwedd y tymmor hwn, ni waeth genym gael ein galw yn gau brophwyd na pheidio.

Y mae rhai Llywyddion Cynnadleddau ar hyd y *South* yma, a rhai yn fwy gogleddol hefyd, rhy brysur yn bedyddio i ysgrifenu atom ni byth braidd i ddweyd yr hanes, a dim cofio ceisio gan eu hysgrifenwyr anfon hanes eu Cymmanfaoedd, na dim arall a geisiwn braidd. Wel, yn mlaen a hi, bedyddier yr oll a allwch, a phan gewch gyfle, gadewch i ni glywed a fyddwch wedi lladd eich hunain ai peidio!

Y mae galwadau parhaus am bregethwyr i wahanol siroedd, ac ambell un yn ymbarotoi i fyned rywbryd. Hysbysa yr Henuriad Jeremy fod argoelion da, ac amryw addewidion i

gymmeryd eu bedyddio yn Sir Frycheiniog; mae gwrandawiad ar y Saint, a chyffroad yn rhai o gapeli y Bedyddwyr o herwydd fod y Saint yn mwynhau y doniau ysbrydol, a hwy eu hunain yn amddifaid o honynt! Cryn wahaniaeth yw hyna hefyd! Mae yn werth chwilio i mewn iddo; er hyny, ni cheir mo honynt i y fath yna o Fedyddwyr pe ceisid hwynt hyd ddydd eu tranc; canys nid gwir, ond gau fedyddwyr ydynt. Dywedwn yn hyf, canys gwir yw, ac y mae y nefoedd drwy omedd iddynt y doniau, yn profi na hawliodd hwynt i fedyddio nac i ddim arall yn ei enw, ac ni waeth iddynt guro ei penau yn erbyn ei gilydd, neu yn erbyn post y drws, na cheisio gwir grefydd gyda hwy; ac achos da paham, o herwydd nad yw hi yno i'w chael iddynt eu hunain nac i neb arall.

Dywed yr Henuriad Jeremy, fod trefydd poblogaidd fel Aberhonddu, Talgarth, &c., &c., yn galw am bregethwyr yno, ac yn cynnyg gwaith i'r sawl a ddeuai yno. Frodyr, a gânt hwy alw yn ofer?

Hysbysa yr Henuriad D. Price y fod galwadau aml arno yn nghylchoedd Llanymddyfri, a thaer ddymuna am i ereill ddyfod i'w gynnorthwyo; y mae ef wedi dechreu bedyddio, ac addewion lawer; ac amryw Saint gwasgaredig yn taer erfyn am fugeiliaid i'w porthi, tra y mae traed cannoedd wedi rhewi yn rhosydd lleidiog y Gynnadledd hon, nes y mae lle i ofni nad oes ond ffrewyllau *Colera*, neu rywbeth tebyg, a ddichon eu fflangellu i'r manau y dymuna Duw eu cael. Rhyngddynt hwy ag ef am hyny. Tybiwn fod yn llawn bryd iddynt hwy ddeffroi at y gorchwyl, pan y mae Offeiriaid a Pheirch, a'r diafol ei hun yn pregethu Mormoniaeth mor selog, rhag ofn yr aiff y lleill a'u gwobr; canys rhaid iddi gael ei phregethu gan rywrai hyd nes y byddo y gonest yn ei chofleidio, a'i gwrthodwyr yn ddiesgus.

Hanesion Eglwysig Tramor.—Ymddengys fod cyffroad adnewyddol drwy wersyll y Saint yn Lloegr a Scotland —ymdrechiadau mwy selog, bedyddiadau mynychach a mwy o fendithion yn cael eu mwynhau nag oedd er ys amser yn ol, yr hyn a ddyry fawr lawenydd yn eu plith; ac yn gyferbyniol i'w ffyddlondeb hwy y mae diwydrwydd Pregethwyr a Golygyddion i roddi cyhoeddusrwydd i'w cenadwri. Dyry llythyrau yr Henuriad Tramor, hanes ddifyrus am hynt yr eglwys yn Yn-

ysoedd Sandwich; ysgrifena yr Henuriad R. Ballantyne, o Madras, lle y mae ganddynt er gwaethaf y cenhadon sectyddol, bedwar o leoedd i bregethu. Mae y dyhirod hyn, gweision y fall, wedi anfon yr holl ffordd i "wlad y beiblau," nid am feiblau ond am faledi a phob *hen ystoriau* am "Joe Smith, a Mormoniaeth," y rhai a brysur daenant yn mhlith Hindoos a Bengalees duon yr India, i'w rhywstro rhag credu y grefydd a ddesgrifia y Beibl; a mawr eu sêl i'w lledaenu a'u gwirio. A rhyfedd mor debyg eu chwaeth ydynt i'w brodyr sectyddol yn y wlad hon; yr un arfau, ac yn yr un fyddin y maent; ac mor sicr a diammheuol yw i ni mai gweision Babel y'nt, ag yw hunan-eglur i ni mai Efengyl Iesu yw y Formoniaeth a wrthwynebant; ac y mae hyny tu hwnt i ddadl er gwaethaf holl genhadon y ———. Bygythir y rhan hono o'r byd a newyn trwm o ddiffyg gwlaw; gwaith llawer rheitiach i Brophwydi Baal yw ymroi fel y rhai hyny gynt am dano er eu cadw o waith drygioni.

---

## HIRAETH AM SEION.

O Seion, Seion, hiraeth sydd
Am gael dy etifeddu,
Gan Saint yr Arglwydd nos a dydd,
Trwy holl ardaloedd Cymru;
Dynion ynfyd sydd i'n herlid,
Yma 'ngafael gwlad y gofid,
Llafur caled, newyn, syched,
A rydd Babel, a chaethiwed,
Ond gobaith llon a dwymn ein bron,
Y ceir o hon ymwared.

O Seion, Seion, gwlad y Saint,
Dyffrynoedd eppil Abra'm,
Lle ceir hyd fedd dda hedd ddi haint,
O dan Lywyddiaeth Brigham:
Melus foli heb byth ofni,
Y mae'r Saint yn mhlith prophwydi,
Nid oes erlid, poen, na blinfyd,
O fewn hoywfro Seion hyfryd,
Ond o dan nôd y nef mewn clod,
Ceir yno ganfod gwynfyd.

O Seion, Seion, câf cyn hir
Deyrnasu gyda'm Brenin,
Dros fil o flwyddi ar dy dir,
Yn mhell o gyrhaedd drycin:
Y T'wysog Michael a fydd uchel,
Gyda'r Saint yn Seion dawel,
Caiff hen Satan brwnt aflawen
Ei lwyr rwymo yn y gadwen,
A throir ei lu i dwyllwch du,
Am wrthod Crist i'w perchen.

O Seion, Seion, pryd caf fyw,
O fewn dy iachus gaerau?
Mae ynot wrandaw geiriau Duw
A rhodio ffordd ei ddeddfau:
Câf mewn temlau ordinhadau,
Ac angylaidd weinyddiadau,
Gweision Iesu a wnant ddysgu,
Pawb i berffaith glwm un teulu,
Yr wyf yn brudd bob nos a dydd,
Am gael ei rhydd feddiannu.

*Cwmbach.* DAVID S. HARRIS.

---

## CYMMANFAOEDD Y GOGLEDD, &c.

SIR Fflint, Mai 14eg; Sir Ddinbych, ar yr 21ain; Dyffryn Conwy, ar yr 28ain; a Sir Feirionydd, ar y 4ydd o Fehefin.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O EBRILL 18 HYD 25.—Morganwg Orllewinol, £3; Dwyreiniol Morganwg, £1 17s 3c; Llanelli, £7 0s 6c.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones, 14, Castle Street, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 17.] MAI 6, 1854. [CYF. VII.


## PAHAM Y CERIR Y GWIRIONEDD?


GAN Y PRIF LYWYDD BRIGHAM YOUNG.


AM ba beth y cerwch y gwirionedd? A ydyw oblegid y medrwch ddarganfod prydferthwch ynddo, ac am ei fod yn gydrywiol i chwi; neu ynte o achos y meddyliwch y gwna chwi yn reolwyr, neu yn Arglwyddi? Os y syniwch y cyrhaeddwch i allu ar y fath ddyben, yr ydych yn camgymmeryd yn fawr. Ystranc yw hyn o eiddo y gallu anweledig, y sydd ar led yn mhlith trigolion y ddaear, yn eu harwain ar gyfeiliorn, yn rhwymo eu meddyliau, ac yn gwyrdroi eu dealltwriaeth.

Tybiwch fod ein Tad yn y nef, ein brawd hynaf, y Prynïawdwr adgyfodedig, Iachawdwr y byd, neu rai o Dduwiau tragywyddoldeb, yn gweithredu ar yr egwyddor hon, i garu gwirionedd, gwybodaeth, a doethineb, am eu bod oll yn alluog, a thrwy y gallu hwn y medrent ddanfon diafliaid i uffern, poeni pobl y ddaear, arfer penaduriaeth drostynt hwy, a'u gwneyd yn druenus wrth eu pleser; hwy a beidient a bod yn Dduwiau; ac mor fuan ag y mabwysiadent ac y gweithredent ar y fath egwyddorion, hwy a ddeuent yn ddiafliaid, a chaent eu taflu i lawr mewn amrantiad llygad; peidia eangiad eu teyrnas, a deuai eu Duwdod i ddiweddiad.

Iaith, i drosglwyddo yr oll o'r gwirionedd, nid yw yn bodoli. Hyd y nod yn y Beibl, ac yn yr holl lyfrau a ddadguddiwyd o'r nef i ddyn, mae yr iaith yn fethiedig i drosglwyddo yr holl wir

fel y mae. Bodola gwirionedd, doethineb, gallu, gogoniant, goleuni, a dealltwriaeth ar eu rhinwedd eu hunain. Nid ydynt, ac ychwaith nis gallant, fodoli ar unrhyw egwyddor arall. Gwirionedd sydd gydnaws a'i hunan, ac y mae goleuni yn glynu wrtho ei hunan, y mae yn ymgeisio ar ol ei hunan, ac yn ymlynu wrtho. Yr un fath yw gyda gwybodaeth, a rhinwedd, a'r holl briodolaethau tragywyddol; y maent yn dilyn ar ol ac yn tynu eu gilydd. Trugaredd a lyn wrth drugaredd, o herwydd mai trugaredd ydyw; goleuni wrth oleuni, am ei fod yn oleuni, ac nid oes yna ddim tywyllwch, ddim hocced nac anwiredd ynddo. Gwirionedd a lyn wrth wirionedd, oblegid ei fod yn wirionedd, ac y mae yn bodoli, o herwydd ei fod yn briodoledd o Dduw, o herwydd ei ardderchawgrwydd, ac oblegid ei hunan. Ar yr egwyddor hon y mae i'r egwyddorion hyn gael ei dal, eu parchu, a'u harferyd. Unrhyw bersonau, meibion neu fenywod, nad ydynt yn derbyn yr egwyddorion hyn oblegid y cariad a ddygant tuag atynt, o herwydd eu prydferthwch, eu hardderchawgrwydd, a'u gogoniant; ac oblegid eu bod yn gydnaws a'u teimladau ar 'yr egwyddor hon, nid ydynt yn Saint! Hwy a fodolant ar eu bonsang eu hunain, ac ymorphwysant ar eu sylfaen eu hunain. Ni all tragywyddol gyfiawnder, trugaredd, cariad, a gwirionedd byth gael eu symud; y maent yn briodoliaethau ag ydynt yn gyfatebol ac yn gydrywiol a'u gilydd: y maent yn dyrchafu y naill y llall, yn amgaeru y nefoedd, a Duwiau, a'r hyn a feddiannir gan y Duwiau.

Yn awr, edrycher ar yr ochr wrth gyferbyniol i'r egwyddorion hyn. Tybier y dywedech, "Nyni a roddwn i fyny ddilyniadau ein crefydd santaidd. Nid ydym yn Saint y Dyddiau Diweddaf. Gadewch i ni fyned a cheisio ar ol pethau y byd, rhagfasgnachu, ceisio i ni ein hunain oludoedd, troi ymaith oddiwrth ein dyledswyddau, esgeuluso y pethau perthynol i ein hiachawdwriaeth, myned gyda y penchwiban, y gwael, a chyda cheiswyr ar ol aur, i California, Awstralia, neu ryw le arall, i'r dyben o gaffael cyfoeth." Dywedaf wrthych y canlyniad o'r yrfa yna. Chwi a beidiech a chynnyddu, yn holl briodoliaethau adderchawgrwydd, gogoniant, a thragywyddol barhad, o'r foment benodol hono. Gan gynted ac y byddai i chwi ymddwyn ar y fath feddylddrychau, hwy a gant sail o'ch mewn yn barod i'w maethu hwynt, a dygai allan eu heffeithiau

arswydus; ac o'r foment hono, chwi a beidiech a chynnyddu. Ymafaelai yr egwyddor wrthwynebol ynoch, ymsicrai ei hun arnoch chwi, a byddai i chwi ymdreulio, lleihau, ymgwttogi, adfeilio, ac ymddihoeni ymaith mewn ansawdd, ardderchawgrwydd, a nerth, hyd nes y delai eich cyd-drefniad yn ddiffoddol; ebargofiant a'ch gordöai chwi, symudid eich enwau ymaith o Lyfr y Bywyd, o'r nefoedd, o'r ddaear, ac o odditan y ddaear, a dychwelech, a soddi i'ch elfenau naturiol, y rhai na ellir eu dinystrio; ac er i lawer ddarllen y Beibl fel yn trosglwyddo y fath feddylddrych etto nid yw.

Yr egwyddor wrthwynebol i'r un o dragywyddol gynnydd o'r dechreuad, a arwain i lawr hyd uffern; mae y person yn lleihau, yn colli ei wybodaeth, teimlad, talent, ac o'r diwedd mewn ystod byr o amser, y mae yn golledig; efe a ddychwel i'w fam ddaear, a'i enw wedi ei anghofio. Eithr yn mha le? O! yn mha le y mae ei Ysbryd? Ni chymmeraf yn awr yr amser i ddilyn ei dyngedfen; ond gellid arfer iaith gref yma, canys pan y dadguddir yr Arglwydd Iesu, wedi terfyniad y gorphwyso am y mil blynyddoedd, bydd iddo wysio byddinoedd y y nef i'r ymdrechfa, efe a ddaw allan mewn tân fflamllyd, efe a ddisgyn i gwblhau eirchion Duw llidiog, ac, ynghanol taranau digofaint Hollalluawgrwydd, bydd iddo ef rolio y nefoedd fel memrwn, a dinystrio marwolaeth, a'r hwn y mae ei allu ganddo. Teflir y rhai gwrthryfelgar yn ol i'w helfenau cyntefig, yno i aros fyrddiynau o flynyddoedd cyn yr adfywir eu llwch, a chyn eu hail ad-drefnir. Dichon i rai ddadleu y byddai i'r egwyddor yma arwain i ail ddad-drefniad Satan, a'r holl ddiafliaid. Nid wyf fi yn dywedyd dim ynghylch hyn, heblaw a ddywed yr Arglwydd—mai pan y delo, "y bydd iddo ddinystrio marwolaeth, a'r hwn sydd a'i nerth ganddo." Nis gellir ei ddiddymu; ni fedrwch ddiddymu defnydd. Pe y gallech, profai fod cyfwng gwag. Pe gallai athronwyr ddiddymu y swm leiaf a ddichon i un ei ddirnad o ddefnydd, medrent wedi hyny brofi y bod yna y gwagder manylaf, neu gyfwng gwag; ond nid oes hyd y nod hyny, ac y mae y tu hwnt i allu dyn brofi y bod yna unrhyw.

---

# IACHAD DYN MUD A BYDDAR.

*(Dyfyniad o Lythyr at y Llywydd S. W. Richards.)*

ADRODDAF yn awr amgylchiad dyddorol, a ddaeth gyda'm gweinyddiad fy hunan ar brawd Dille, ychydig amser yn ol, a'i adael i chwi wneyd ag ef yn unol a'ch callineb.

Gadewais Manchester, ar y 28ain o Fawrth, i lenwi penodiad yn Rochdale. Cyflwynodd pedwar o bersonau eu hunain y prydnhawn hwnw am fedydd; y rhai hyn oeddynt Mrs. Howarth, gweddw, merch iddi oddeutu un mlwydd ar bymtheg ei hoedran, a mab deng-mlwydd, hefyd brawd i Mrs. Howarth, Halsden Marsden, bachgen deunaw mlwydd ei oedran, yr hwn a anwyd yn fud a byddar.

Cefais beth ymddyddan a Mrs. Howarth, am a oedd y bachgen wedi ei hyfforddi yn addas mewn perthynas i'r ordinhad o fedydd. Mynegodd ddarfod iddi ei hyfforddi, y gallai ef ddarllen yn dda ynghyd ag ymddyddan yn rhwydd trwy iaith y llaw. Modd bynag, cymmerodd y brawd Dille, lechen ac ysgrifenodd arni y gofyniad canlynol, "A oes arnoch eisiau eich bedyddio er gollyngiad o bechodau? Os oes, byddwch mor dda ag ateb." Gofynodd y bachgen i'w chwaer am ystyr gollyngiad. Atebodd hithau mai maddeuant. Yna, efe a ysgrifenodd ar y garreg y gair, 'Oes," yn ateb, ac a'i rhoddodd i'r brawd Dille. Argraffwyd arnom ar unwaith y derbyniai y dyn ieuanc ei glyw a'i leferydd, a dywedasom felly wrth ein gilydd.

Aethom yn awr tua lle arferol bedydd, a bedyddiodd y brawd Dille hwynt. Yna dychwelasom i dy y brawd Rigg, lle y cadarnhasom hwynt. Gweinyddais i ynghadarnhad y dyn ieuanc. Teimlais i ofyn, tra ein dwylaw ar ben y dyn ieuanc, am iddo gael ei wneyd i glywed ac i siarad. Yna dywedasom wrth ei chwaer, os y deuai hi etto gyda ei brawd yn y boreu, yr eneiniem ef i'r dyben iddo gael ei glyw.

Yn y boreu, ceisiasom beth olew, a chyssegrasom y cyfryw, a phan ddaethant hwy, aethym yn mlaen i weinyddu yr olew. Rhoddais iddo ychydig o'i fewn, fel y cyffyrddai a'i dafod; cymhwysais beth hefyd oddeutu ei glustiau, a dylerais beth iddynt, yn enw yr Arglwydd, gan weddio ar fod i'r dyn ieuanc gael ei fendithio a chlyw ac a lleferydd. Gweinyddodd y brawd Dille yn nesaf, fel y dodem ein dwylaw ar ei ben ef, ond ni bu i'r brawd

Dille siarad gyda yr hyder hwnw ag y sydd heb ammheuaeth—ni ddywedodd ef ddim yn gadarnhaol.

Teimlais wedi fy siomi ychydig yn fy ysbryd, ac ar ol ystyried am ychydig fynudau, digwyddodd i mi feddwl y dylem weithredu yn ein cymhwysderau swyddol," fel dynion a chanddynt awdurdod," oblegid i'r dyben hwn yn galwyd ac ein hanfonwyd; ac mewn lleoedd na byddo neb drosom mewn awdurdod, y rhaid i ni weinyddu dros ac yn lle Duw ar y ddaear. Mynegais fy nheimladau, a dywedais fy mod yn meddwl y dylem orchymyn i bob rhwystr i'w glyw a'i leferydd ymadael oddiwrtho, yn enw yr Arglwydd. Cydsyniodd y brawd Dille. Felly dodasom ein dwylaw trachefn ar yr ieuanc, a cheryddais bob rhwystr i'w glyw a'i leferydd, yn enw yr Arglwydd Iesu Grist, a gorchymynais yr unrhyw i ymadael ag ef, fel y caffai ef y gallu o lefaru a chlywed i'w roddi iddo, a dywedais, mai hyn a fyddai ei fendith, os byddai iddo ei derbyn mewn ffydd, er tystiolaeth iddo, ac i bawb ag oeddynt adnabyddus ag ef.

Mynegodd ei chwaer iddo yn awr yr hyn a seliasom arno, os byddai iddo ef gredu. Llawenhaodd yn fawr, ac ymddangosai i bawb fod yr ysbryd yn gorphwys arno yn rymus. Dywedodd ei fod yn credu, trwy droi ei fawd i fyny, yr hyn a arwyddai unpeth ag oedd dda. Mynegodd hefyd ein bod ni yn ddynion Duw. Agorodd y Beibl ar y bennod olaf o St Marc, a phwyntiodd at eiriau yr Iachawdwr wrth yr Apostolion, a'r addewid i'r rhai hyny a gredant ac a fedyddir, y byddai i'r arwyddion hyn eu canlyn.

Yn awr aethom i dy ei chwaer, a chytunasom yn fuan mewn ymddyddanion pwysig mewn perthynas iddo. Canfyddais, oddeutu awr wedi gweinyddiad yr olew, y dangosai ef arwyddion clywed. Symmudais o'i glustiau y cotwm a ddodais ynddynt ar ol yr olew, a dymunais ar i'w chwaer ddarllen yr egwyddor iddo ar y llaw, ac ar yr un pryd i lefaru y llythyrenau. Dymunwyd arno sylwi ar symudiadau ei gwefusau ai thafod, a'i dynwared yn y sain. Canfyddasom y pryd hyny, er ein mawr lawenydd, y gallai ef glywed mewn gwirionedd, ac fel ei cyfarwyddwyd, canlynodd ei chwaer yn seinio pob llythyren yn yr ewyddor a llawer o honynt yn eglur.

Canfyddasom yn awr, feddylddrych na feddyliasom am dano o'r blaen, fod ganddo i ddysgu ystyr pob sain neu air, oblegid fod

pob sain fel eu gilydd yn newydd iddo ef, adroddodd y geiriau tad, mam, brawd, chwaer; ei enw ei hun, enw y brawd Dille, fy enw fy hun, ac amryw ereill. Yr oedd ef yn hynod foddhaol gyda y medrusrwydd a wnaeth. Ymddangosai fod ei glyw yn dyfod yn eglurach yn raddol, fel y daeth i glywed i foddlonrwydd eiriau a lafarid gyda nerth arferol y llais, pan eu cyfeiriwyd yn groyw ato. Arferasom ef hyd nes y gwnaeth i ni ddeall fod ei ysgyfaint yn blino. Gwelsom, wrth ystyried fod hyn yn resymol, o herwydd yr oedd yn wers gyntaf a gafodd erioed o'r fath. O ganlyniad gollyngasom ef ymaith y pryd hyny.

Hyfforddais ei chwaer i roddi iddo wersi mynych, ond nid i'w ddiffygio ef, oblegid er fod ganddo synwyroldeb dyn, rhaid iddo, fel plentyn, ddysgu cymhwysiad pob sain, a thrwy arferiad, ddysgu defnydd a gallu y tafod.

Yr oedd ei frawd, agosaf yn iau nag ef, wedi synu yn fawr. Dywedai na siaradodd ei frawd erioed o'r blaen, ac yn awr gwyddai fod yr hyn a bregethid genym yn eithaf gwirionedd, a'i fod ef yn barod i ufyddhau i'r Efengyl a chymmeryd ei fedyddio. Felly bedyddiasom ef yr awr hono. A llawenychasom oll yn fawr yn yr Arglwydd ein Duw.

Rhoddais i chwi hanes o braidd hir, ond tra manylaidd a ffyddlon o'r amgylchiadau a ddilynasant fedydd y dyn ieuanc hwn, gan gredu y bydd yn fwy boddhaol fel hyn, na phe wedi ei dalfyru yn ychwaneg, ydwyf, anwyl frawd, yr eiddoch, mewn gwirionedd yn y cyfammod newydd a thragywyddol.

JOHN S. FULLMER.

Gwedi bod mewn cyssylltiad am dynodi gyda yr amgylchiadau a adroddwyd uchod, yr wyf yn cymmeryd hyfrydwch mawr mewn tystiolaethu am danynt eu bod oll yn wirionedd.

DAVID B DILLE.

---

## Y GENADAETH YN YNYSOEDD SANDWICH.

*(O'r "Deseret News," Rhagfyr 15, 1853.)*

Honolulu Medi 9, 1853.

ANWYL FRAWD CAMPBELL.—Cyd rhwng y "Mormoniaid," a'r frech wen, mawr a fu y dymchweliad yn y lle hwn er pan y cyrhaeddasom, canys daeth y naill a'r llall i'r porthladd oddeutu yr un amser.

Pan ganfyddasom yr elai yn araf y gorchwyl o ddysgu iaith, o leiaf i rai o honom, bu i ni fabwysiadu y callineb o ordeinio pob brodor a feddyliasom y gwnelai unrhyw ddaioni, ac hyfforddiasom hwynt, gan eu gosod mewn gwaith yn Honolulu ac yn y wlad oddiamgylch. Cawsom yn fuan gyffroad mawr yn mhlith y bobl. Meddyliodd y brodorion mai peth mawr yw cael bod yn genadon, a gwnaethant y goreu a wyddent, fel mai buan y cawsant heolydd Honolulu yn llawn brodorion ac estroniaid yn myned i weled y "Mormoniaid" yn bedyddio, oblegid na welsant erioed neb yn bedyddio drwy soddiad yn y deyrnas hon, Hawaii. Gwnaethai i chwi edrych yn ddifyrus ein gweled yn cerdded wrth ben mintai o ddeg ar hugain neu ddeugain o gydymgeiswyr, ac o fil a phump cant hyd i ddwy fil o edrychwyr yn dwyn i fyny yr olyddion o frodorion ac estroniaid, cenadon a'u meibion, a'r oll yn dilyn y "Mormoniaid." Dywedodd rhai o honynt na chaniateid hyn ar y sabboth, a deisebasant y llywodraeth i ffurfio cyfraith i'r dyben hyny, eithr methwyd.

Yr oedd pob drws ynghau yn erbyn pregethu i'r poblogaeth estronol. Cymmerodd y brawd Thomas Karren, a minnau frodor ieuanc a fedrai siarad ychydig Saesneg, a chychwynasom am yr ynys Hawaii. Yr oeddym wyth niwrnod yn gwneyd y fordaith tra na ddysgwyliem fod ond tridiau, a buom mewn chwythiad trwm, yr hyn a rwygodd ymaith ein hwyliau, fel nad allem fyned i'r lle a fwriadasom. Daeth y Llywydd atom am gynghor. Dywedasom am iddo redeg o flaen y gwynt i'r porthladd goreu, y boddiai hyny ni. Gwnaeth felly, ac yr oeddym mewn ychydig oriau yn ddiogel mewn porthladd; nid yn y lle a ddewisasom ni fyned iddo ond yn y lle y dewisodd yr Arglwydd yn cael ynddo. Dioddefasom lawer ar y fordaith hon; dywedai Karren na ddioddefodd ef hanner cymmaint yn ei holl daith yn y catrawd ag a wnaeth yn y naw dydd hyn. Ni fwytasom ond un pryd yn ystod y fordaith. Pan laniasom, ni allem braidd sefyll, ac nid oedd cyfle at gael unrhyw beth i'w fwyta am gryn amser. Yr oeddwn yn myned i ddywedyd rhywbeth am fwyta, eithr y mae yn rhy anfoesgar. Ni bydlwn ond peryglu fy ngair wrth ddywedyd dim am ein lluniaeth; ac nis gallwn wneyd cyfiawnder a'r testun pe y ceisiwn.

Modd bynag ni feddyliasom aros, ond hyd newidiad y gwynt eithr aethom i bregethu, a'r boreu nesaf cyn boreu-fwyd bedydd-

iasom bump ar hugain; a chyn ein bod yn barod i adael, yr oedd genym Gangen mor fawr fel nad allem ei gadael. Yr oeddym yn cyfansoddi cangen trugain o aelodau pan ddaeth y llong yn barod i hwylio. Pan glywodd y llonglywydd am y peth oeddym yn ei wneyd, dywedodd mai dyna y rheswm nad allodd ef fyned i Helo; fod ganddo ef dri Jonah ar y bwrdd, a bod ganddynt i'w glanio yno.

Ar ei ddychweliad galwodd ef a'i ddynion i'w bedyddio, eithr nid oeddem ni yno.

Pan wybu y Cenadwr, yn yr ardal hono, yr hyn ag oeddem yn ei wneyd, galwodd ei ddëadell ynghyd, a hysbysodd hwynt yr ofnai eu bod oll yn myned i'w adael ef a myned at y "Mormoniaid;" ond os nad elent, y gostyngai ef ei dreth arnynt ddwy ran o dair; gallai y rhai a dalasant iddo bymtheg dolar a thrugain, dalu ond pump dolar ar hugain, a'r rhai a dalasant ddeg dolar ar hugain, dalu ond deg dolar, &c. Felly mae yr oll drwy ei eglwys, ac y mae hyny yn ddiwygiad mawr iddo ef, bid sicr.

Glaniasom ar yr ynys hon y 9ed o Fehefin, a gadawsom ar y 23ain o Awst. Bedyddiasom ddau cant o Saint y mis diweddaf. Wedi i ni fedyddio oddeutu cant a deg a deugain, bu ein cyfieithydd farw, eithr ordeiniasom amryw yn ychwaneg yn ei le.

Cyhuddwyd ni wyth waith ger bron yr Ynad; a chanfod y gallai ein Henuriaid a'n Hoffeiriaid newyddion ddwyn y gwaith yn mlaen, gadawsom a daethom i'r lle hwn i geisio adgyweiriad yn y gyfraith, oddiwrth yr uwch awdurdodau. Nis gwyddom yn bresennol pa beth a allwn ei wneyd, ac nid ydym yn gofalu lawer os na ffafriant hwy ni, gwna yr Arglwydd.

Cafodd y brodyr Lewis a Farrar eu taro i lawr a'u curo yn llymdost tra yn y weithred o weinyddu i'r cleifion: a phan achwynwyd wrth y Sirydd, dywedodd na wnaethant ychwaneg nag y parodd ef iddynt ei wneyd, ac yr oedd yn tueddu i beidio a sylwi ar yr achwyniad; eithr cymmerodd y brawd B. F. Johnson yr achos i fyny gyda y fath rym fel na ellid ei ommedd. Dirwywyd y terfysgwyr i'r swm bychan o 12 dolar.

Cynnyddodd nifer y Saint i oddeutu 1500 er pan y cyrhaeddasom yma: a meddyliwn y gallwn dreiglo y gwaith yn mlaen yn awr os gweithia yr Arglwydd gyda ni—ac yr ydym yn meddwl y gwna Ef.

Pregethasom fod awr barn Duw ger llaw, a dygodd y frech wen,

dystiolaeth ffyddlon i'r ffaith—tybir i hanner poblogaeth y ddinas hon farw er pan ddaethom yma—ac nad yw ond arafu o eisiau dynion. Mae yn ymledaenu tros yr holl ynysoedd, ac y mae lliosogrwydd y rhai a syrthiant yn ysglyfaeth iddo wedi gofidio ein calonau. Marwodd yn y ddinas hon o 50 i 60 y dydd. Gorfodwyd hwy i wneyd cyfraith yn rhwymo dynion i gladdu eu meirwon heb eu gwobrwyo. Cyckwynodd amryw yn ingoedd marwolaeth, a marwasant yn yr heolydd, a bwytawyd hwynt gan y moch a'r cwn.

Marwodd rhai o'n Saint brodorol, a chafodd rhai o'n Henuriaid estronol ymosodiad ysgafn; eithr ni arswydwyd hwynt ganddo—y maent yn parhau i weinyddu.

NATHAN TANNER.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MAI 6, 1854.

EGLWYS DDUW yw *Goleuad*,—nid Lloer ond *Haul* y byd moesol; defnyddiol yw goleuni y Lloer ar noson dywell ddrycinog; da yw doethineb ddynol yn absennoldeb gwell; eithr cyffelyb ag i ddoethineb ddynol geisio sefydlu ac arwain eglwys Dduw yn lle y llall, a fyddai i'r Lleuad daflu ei harffedog dros wyneb yr Haul i guddio ei oleuni; ac megys y rhagora goleuni tanbeidiol haul y canol ddydd ar oleuni y lloer, y tra rhagora goleuni "Haul mawr y cyfiawnder" ar ddoethineb holl ddoethion byd, i arwain eglwys Dduw. Megys yr adlewyrcha goleuni y blaenaf o'r naill i'r llall o'r mynrynau anweledig a lanwant yr eangder, y trosglwyddir goleuni Ysbryd Duw ar lygaid yr ysbrydol-ddyn a oleuwyd ganddo; ac mor anghenrheidiol ag yw i ddyn agor ei amrantau corfforol i dderbyn goleuni y naill, ydyw i'r dyn ysbrydol ymagor ei feddwl a'i galon i dderbyn y llall, o herwydd ni orfoda y naill na'r llall eu goleuni ar neb; ac mor anhebgorol ag yw dyfod

allan a'r tywyllwch i oleuni yr haul er ei ganfod, yw dyfod i eglwys Dduw, lle yn unig y ceir y *gwir* oleuni, er ymlesoli drwyddo.

Mor hunan-eglur ag yw goleuni yr haul i ddynodi ei fodoldeb, y dylai goleuni eglwys Dduw ymddysglaerio ar lygaid pob ymchwiliwr gonest am y gwir. Megys y rhagora y mwynhâd diddiwedd o gyflawnder mwyniant nefoedd ar deganau amserol byd, y rhagora defnyddioldeb y naill oleuni ar y llall; o ganlyniad sêl ac ymroadau plant y goleuni i oleuo ereill yw y ffeithiau mwyaf argyhoeddiadol o werthfawrogrwydd eu goleuni dwyfol, ac yn gyferbyniol i rym y goleuni a feddant yr adlewyrcha yn amlwg i ereill. Mor angheurheidiol ag yw rhodio lle y tewyna goleuni yr haul er ei fwynhau yw, i blant Duw rodio ar hyd llwybr eu dyledswyddau er mwynhau goleuni Ysbryd Duw, canys ni ddaw efe i un man arall ond o fewn cylch ei rodfeydd, sef yn ei *eglwys*, "yr hwn ni ddichon y byd ei dderbyn" ebe Crist.

Mor undebol ag yw holl belydrau goleuni yr haul i oleuo byd, y dylai bod holl dystiolaethau, bucheddau ac ymroadau plant y goleuni i arddangos eglwys Dduw i'r byd. Megys nad yw un pelydr o ddefnyddioldeb ond i'r graddau y goleua y byd, felly y Saint nid ydynt o fwy defnydd i oleuo byd ond i'r graddau y llewyrcha eu goleuni iddo, mwy nag yw halen o ddefnydd er halltu os bydd wedi colli ei flâs. Mor ddiddefnydd ag a fyddai cylchdroad yr haul drwy yr entrych heb oleuo y byd, yw cylchdroadau dyn yn y byd heb oleuo y ffordd y cerddo. Megys na ateb yr haul ddyben ei gread heb ddangos ei oleuni, felly y dyn a dderbyniodd oleuni gan Dduw ni lesola ond i'r graddau yr adlewyrcha y goleuni hwnw i ereill. Mor ffol ag a fyddai goleuo canwyll a'i dodi o dan lestr, fyddai i ddyn guddio y goleuni a'r hwn y goleuodd Duw ei Ysbryd, sef ei "ganwyll" Ef.

Mewn gair, swm a sylwedd yr hyn a geisiwn ddweyd yw, mai eglwys Dduw yw goleuad y byd, a'r aelodau yw y canwyllau—llewyrched ein goleuni ynte, rhag i'r Duw a gyflwynodd y goleuni inni "symmud ein canwyllbren o'i le;"—ein camrau a oleuo ffyrdd crefydd o flaen y byd—ein hoff-waith fyddo dangos ein goleuni a'n gorchest-waith unfrydol fo eneinio llygaid y deillion â'r eli llygaid a roed i ni, ac agorwr llygaid y deillion ysbrydol, â phelydrau o ffynnonell ddihysbydd ei oleuni Ef

a ddilyno ein hymdrechiadau nes ymlid tywyllwch y ddu-nos a pheri gwawr ar eneidiau llawer drwy ein gwlad.

Dywenydd genym weled ymddeffroad parhaus yn mhlith ein brodyr i egluro goleuni i'r byd,—y mae pregethu allan a gwrandawiad mwy astud yn gyffredinol yn argoli mwy o awydd yn y Saint ymddysglaerio, ac yn y byd am fwynhau o'u goleuni. Mae y *Volunteers* yn ymfyddino yn barhaus, a'r holl Saint yn cynnyddu mewn doniau Ysbrydol a phob bendithion yn gyferbyniol i'w diwydrwydd i *fyw eu crefydd*,—y mae rhyw swn o'r newydd am sefydlu cymdeithasau traethodau yn mhob Cangen, a rhai eisoes wedi cydio yn y gorchwyl clodadwy gyda sêl frwdfrydig,—y dynion, yn enwedig y bechgyn ieuainc yn ymgasglu ar nos Sadwrn, nid i'r dafarn nac i wario eu tocyns am oferedd hyd y tafarndai a'r heolydd, ond i'r clwb llyfrau; tynir *lots* bob nos clwb am werth cyflawn y cyfraniadau i mewn, a mawr yw awydd rhai, ac nid y chwiorydd yw yr olaf na'r lleiaf eu sêl yn eu llafur cariad o ledaenu traethodau a geir felly, i dai eu cymmydogion. Efelycher hwy, goreu po fwyaf, yn mhob man, a ni yn gwybod nad yw ein llafur ni yn ofer, ond bydd i ni wobr fawr iawn.

Dysgwyliwn glywed y bydd y cynllun hwn drwy gyd-weithrediad ffyddiog, o fawr les drwy y Dywysogaeth yn y tymhor hwn.

Diau y bydd "iachad rhyfeddol y mûd a byddar," yn ol hanes ein hybarch hen gyd-ymaith J. S. Fulmer, yn destun adnewyddol gan y Saint i Dduw am amlygu ei fawr allu mewn atebiad i weddi y ffydd ac yn brawf ychwanegol fod bendithion y nef a'r ddaear ynghyraedd y Saint a'r allwedd a'u datgloa yw eu ffyddiog weithredoedd hwynt. Caffed y mwynhad o bob adnewyddol fendith yr effaith ddymunol o symbylu pob un i gyflawni ei ddyledswyddau fel y caffo ein Duw le i gyflwyno mwyfwy oi anrhegion.

---

HANESION CARTREFOL.—*Cynnadledd Mynwy*,—Ysgrifena y Llywydd Giles y fod gwaith Duw ar ei gynnydd drwy y Gynnadledd, amryw fedyddiadau ac argoelion am ychwaneg yn fuan—y *Volunteers* yn lliosogi ac yn ymbarotoi, a rhai eisoes ar y maes, ereill yn eu dilyn yn fuan, a'r llywydd yn eu hannog oll i fyned os dewisant, yn Llywyddion ac oll, ac y cyfyd ef,

neu yn hytrach y cyfyd Duw o'r defnyddiau gweddilliol rai ereill gwell yn eu lle: dyma ffydd a sel ganmoladwy! Bedyddiwyd pedwar ar ol un cwrdd pan yr oedd ef yn Cwmteleri yr hyn a brawf fod Duw yn gwirio ei air ef drwy lanw yr adwyau a achoswyd gan y *Volunteers.* Frodyr profwch Ef, oni fydd y cyflawniad yn helaethach na'r addewid. Mae sel yn cynnyddu yma i ddosparthu traethodau, ac nid fel ambell Lywydd Cynnadledd yn anfon am o *un* i *hanner dwsin* o draethodau ceiniog neu ddwy y gwna efe, ond wrth y cant oedd o bob un a'r unwaith. Mawr les a wnelont ac a wnant lle eu dosperthir.

*Cynnadledd Llanelli,*—gweler wrth hanes eu cynlluniau y fod y brodyr hyn o ddifrif am oleuo y byd tra y mae hi yn ddydd, ac hyd y galler, efelycher eu manylrwydd dosparthiadol hwynt fel y caffo pawb gynnyg ar yr efengyl.

Dyddorol yw llythyr y Bugail J. Parry, o Wynedd, a mawr y llawenydd a grea y gobaith am gynnorthwy cedyrn y deau, yn y frwydr boeth a ymladda yr ychydig wroniaid hyny â'r mawr-lu a wrthwynebant eu cenadwri. Aed ychwaneg ar frys.

---

NEWYDDION TRAMOR.—Testun diolchgarwch i'r hwn a bia y gwaith dwyfol a geir yn Llythyr ein hynaws frawd Tanner o Ynysoedd Sandwich, am fod yr efengyl ar ei chynnydd yno er gwaethaf gwrthwynebiadau byd ac uffern hefyd, ac am fod Duw yn cyflawni ei addewidion i'r brodorion hyny yn ogystal ag i Negroaid duon Affrica, yn ol eu parodrwydd i ufyddhau i'w orchymynion drwy ei weision yn y dyddiau hyn megys cynt. Clod fo i'w enw.

*Yn Switzerland*—Llabyddiwyd hyd farw braidd, yr Henuriad Savage, a cherrig mewn tref wledig lle yr oedd yn bedyddio pump neu chwech o bobl. Y mae yr Henuriad Mayer newydd gael gollyngdod o garchar yn Twrich, lle y rhoddwyd ef am wyth niwrnod o herwydd pregethu yr efengyl. Pa grefydd, pa sect arall sydd a digon o ddwyfoldeb ynddi yn y dyddiau hyn i ddatgloi hen gloion yr oesoedd, ac i agoryd hen ddorau heuarnaidd carcharau ar eu pegynau ag oeddent wedi rhydu er ys oesoedd cyntefig gwir grefydd? Gweler cyssylltiad effaith wrth ei achos priodol!

*Penryn Gobaith Da.*—Mae y rhagfarn yn cilio i'r graddau yr

adnabyddir yr Henuriaid au cenadwri. Yr oedd yr Henuriad Walker, yn Fort Beaufort tua 700 o filltiroedd yn y wlad, ac wedi bedyddio chwech. Yr Henuriad Haven a Smith, oeddynt ddiwyd mewn manau ereill a gobeithion am lwyddiant. Yr oedd cryn gyffroad drwy y wlad o herwydd darganfod aur yn y wlad tua 600 o filltiroedd o'r Penrhyn, a dywed y trigolion "y fod aur lle bynag y rhodia y Mormoniaid." Dywed yr Henuriad Haven, " ymddengys fel pe bai yr Arglwydd am roddi eu dewis i'r oes hon pa un a ddewisant, ai yr *aur* neu yr efengyl!"

---

*Llywyddion Cynnadleddau!*—Erfyniwn gynrychioliad o'ch Cynnadleddau yn fanwl o bob Cymmanfa chwarterol, sef, rhif y swyddogion y cynnyddiant &c. Ynghyd a chyfrif o werth y llyfrau ar law, cynnyddiant *gwerthiad* yr *Udgorn* a'r *Star* er dechreu y flwyddyn a'r nifer a erys a'r law. Gobeithiwn hefyd yr anfonwch am draethodau yn brydlon i fod a'r law erbyn dyfodiad y fyddin rhag grybwylledig allan ac y cynnorthwya y Cynnadleddau Gogleddol oddiyma y brodyr a deithiant, â thraethodau yn y manau lle y galwant; ac na fydd dim yn eisieu, mewn cyd-weithrediad, a ellir wneyd i gyrhaedd yr amcan clodadwy o achub eneidiau ein cyd-genedl, neu eu gwneyd yn ddiesgus drwy wrthod cynnygion teilwng.

Gofynwn hefyd i'r Llywyddion ein hysbysu pa le y caiff dynion ffyddlon waith i gynnal eu teuluoedd, pa grefft &c., ac ymdrechwn gael y cyfryw i fyned atynt.

---

*Tiriad yr Ymfudwyr Cymreig yn St. Louis.*—Trwy amryw lythyrau a diriasant yn ddiweddar hysbysir ni i'r Saint a ymfudasant eleni ar y llong Golconda gyrhaedd St Louis, Mawrth 31. Galarus yw clywed bod y Cholera wedi cymmeryd ymaith rhai o'u plith rhwng Orleans a St. Louis, ond ychydig fel mae y goreu, a'i fod yn lleihau. Bwriadent gychwyn oddiyno yn mlaen i fynu y Missouri yn fuan. Yr oedd tua mil ar yr un bad yn dyfod i St. Louis, a'r oll yn benderfynol i adael cyffiniau Babylon tua Seion mor gynted y gallent, ac yn mawr lawenhau bod gwaredfan i'w chael rhag pläau a drygioni.

Yr oedd dwfr yr afonydd yn isel, yr hyn a wnai y cludiad iddynt hwy ac i'w nwyfau yn ddrudtach nac arferol.

## LLYTHYR AT Y LLYWYDD D. JONES.

*Saint George, Ebrill 24, 1854.*

Anwyl Lywydd D. Jones,—Yr wyf yn anfon hyn o lythyr atoch i'ch gwneuthur yn hysbys o'n sefyllfa yn y Gynnadledd hon. Cawsom Gynghor Cynnadledd rhagorol o dda bythefnos yn ol yn Rhyddlan; tystiai yr holl swyddogion na chawsent ddim o'i well erioed. Efelychasom eich dull chwi yna, trwy alw yr holl swyddogion i ddweyd eu teimladau a'u penderfyniadau, a chafwyd pawb yn meddu ar deimlad da a phenderfyniad diysgog i ymaflyd yn y gwaith. Penderfynasom ymprydio un waith y mis er cynnorthwyo Henuriaid Teithiol, ac y mae dau Henuriad Teithiol ar y maes.

Bedyddiasom bedwar er y Cynghor, ac y mae genym addewidion gan amryw ereill.

Fel hyn y mae yr olwynion yn troi yn araf, ond yr ydym yn llawenhau wrth feddwl am y milwyr sydd i ddyfod i'n cynnorthwyo; yr ydym yn gyffelyb hefyd i'r Twrciaid ar faes y frwydr o hyd, a ffydd gadarn am gael y fuddugoliaeth pan ddaw byddinoedd y Deau i'n cynnorthwyo. Am hyny dywedaf, Filwyr Iesu dewch yn mlaen, croesaw mawr a gewch i'n plith. Da fyddai genyf glywed fod y Llywydd Daniels yn dyfod i ymwe'ed â ni, ynghyd a'r brodyr ereill. Dymunaf roddi fy nghofion caredicaf at y Llywyd T. Jeremy, a'ch hunan yn neillduol, gan hyderu y cawn y fraint o'ch gweled yn ein plith yn nghorff yr haf.

Ydwyf eich brawd yn yr efengyl dragywyddol,

John Parry.

---

## Y MORMONIAID.

*(Allan o'r "**Brighton** Guardian," Mawrth 22.)*

Y sefydliadau Mormonaidd ydynt amrywiol yn awr, rhwng y man y planasant eu hystacan *(Stake,)* gyntaf ynddo a'r llyn Utah Bach, oddeutu 40 milltir yn mhellach i lawr y dyffryn. Hynodir hwynt yn benaf gan yr argoelion cysur sydd yn treiddio trwyddynt. Os ydyw glanweithdra yn ddiledrith berthynas i dduwioldeb, gellir ystyried am "Y Saint," eu bod yn Saint mewn

gwirionedd; canys, mor bell ag y mae cyfreithiau y wladwriaeth yn cyd ddwyn a chyflwr naturiaethol y bobl, rhaid yw cydnabod fod eu gweithrediadau yn ddoeth a llesol i'r graddau uchaf. Diammheuol mai llawer haws yw dechreu yn wych gyda'r fath achosion, gan sefydlu preswylfod ar fan y ceir ynddo bob hwylusdod er annog glendid, na thrwy osodiad unrhyw ddeddf pa bynag, allu gweithredu ar werin a bentyrwyd ynghyd mewn heolydd hen ddinas. Ond y rhyfeddod am y Mormoniaid, y rhaid yr ymfudodd miloedd o honynt o'r parthau mwyaf bawlyd yn ein trefi gweithfäol, ydyw y trowyd hwy i fod yn bobl gymenfalch mewn glanweithdra. Rhagofalodd cynllun eu dinas gyntaf yn Deseret mewn modd pendant am gadwraeth y croywder ar purdeb naturiol hwnw a fawrygid gan ei sylfaenwyr pan ddewiswyd y safle. Adeiladir y tai oll ychydig bellter oddiwrth eu gilydd; ac y mae dwfr yr afon a ddylifa drwy y dyffryn, wedi ei drosglwyddo i'r ddinas er iachu-rwydd yn gystadl ag i ddybenion amaethyddol. Ni wyddir ond ychydig am anghymmedroldeb yn eu plith; nid oes diffyg cynhyrfiad yn eu mysg; ac etto, yn ystod ein hymdaith yn ninas y Llyn Halen Mawr, ni bu ond un achlysur y dodwyd gwlybyroedd meddwol ger bron y gwestwyr. Mae y Mormoniaid oll yn hoff o ddifyrwch, a gellir cael mwy hysbysiaeth mewn perthynas i'w harferion a'u hathrawiaethau yn mhlith dadwrdd cyfeillach prydnhawnol nag oddiar wefus eu Llywydd. Dichon i bob menyw na chyflewyd, trwy drefniadau cyfaddas, hawlio cael ei phriodi. Gan hyny, mae yno fath o flwyddyn naid barhaus, a hyny hefyd yn y synwyr manylaf o'r fraint y tybier ei bod yn berthynol i'r rhywogaeth deg ar y cyfnod hwnw.

---

## CYMMANFA LLANELLI.

Cynnaliwyd y Gymmanfa hon, dydd Sul, Ebrill 23, yn Nghapel y Saint yn y dref hon. Ymgynnullodd y Saint yn nghyd yn lled gyffredinol, ac arwyddion amlwg yn eu gwynebau oll bod eu bryd ar weithio gwaith Duw, eu calonau yn ysgafn, eu difyrwch penaf i adeiladu Eglwys Iesu Grist, ac yn hollol ddiargoel o fod yr un dim wedi lleddfu eu teimladau er ys amser maith. Pleidleisiwyd yn unfrydol a boddus galonog i yr holl gynnygiadau a osodwyd ger eu bron. Diwydrwydd, gwybodaeth, a sel y Saint, sydd a'r gynnydd parhaus; cariad yn lliosogi ynddynt fwy-fwy, ymroad awyddus y Llywyddion a'r swyddogion er lledaenu egwyddorion bywyd tragywyddol sydd yn gryfach gryfach bob dydd. Cymmer-

adwyaeth Duw o'n ymdrechiadau diflino, a eglurir yn ngwahanol ddoniau yr Ysbryd Glân o gyfrenir i'r Saint.

Y cynllun a osodwyd ger bron yn y cyngorau perthynol i'r Gynnadledd a ddygir i weithrediad manwl gan swyddogion y cangenau, sef yw hyny, *tystiolaethu yn bersonol unigol i bob dyn a dynes yn mhob bwthyn, Tŷ, Pentref, Tref, gwlad, a gorwlad,* trwy hyd a lled cylch y Gynnadledd hon, o Gaerfyrddin i Gaslwchwr, ac o Cidwch i gefn Arthau, Ystradffin, yn nghydiad Brycheiniog a Charedigion. Dosranwyd y cylchoedd perthynol i'r cangenau, a phenodwyd y gwahanol swyddogion i dystiolaethu a dosparthu llyfrau, traethodau &c., yn yr holl gylchoedd hyn. A'r gwaith rhagddo yn gyflym—a theimlir Ysbryd Duw yn fwy pwerus o herwydd hyn ddydd ar ol dydd. Y cynhauaf yn ddiau sy'n fawr, ar gweithwyr yma yn anaml, attolygwn arnoch anfon gweithwyr i'n cynnorthwyo. Gall ugeiniau gael gwaith da yn Mhontyberem, i ennill o tua deunaw Swllt i bunt yr wythnos, o herwydd fod yr hen waith fu yn aros am flynyddau, a'r gychwyn o newydd. Hefyd gellir cael lle a gwaith i amrai yn Nghwmaman—Cawsom addysgiadau a phregethau adeiladol iawn yn ystod y Gymmanfa. Gosodasant fywyd newydd yn mhawb o'r Saint, a phenderfyniad mwy nerthol ynddynt i gyflawni ewyllys Duw; penderfynir genym oll i fod yn rhydd a glân oddiwrth waed pob enaid byw trwy y Gynnadledd hon eleni. Yn nerth Duw, a than ddylanwad ei Ysbryd Ef gwnawn hyn, achanwn " Am Seion fy nghân yn felus a fydd," gyda dymuniad i fod yno yn fuan.

Y Cynnrychioliad sydd fel y canlyn:—Cang. 10. Hend. 57. Off. 15, Ath 7, Dia. 13, Ym. 32, Ysg 4, Bed. 17. Cyfanrif 306. Gobeithiwn oddiar sail dda y cawn fedyddio lluaws yn fuan. Penderfynir gwneyd yr oll a allwn i gynnorthwyo y rhai a anfonir allan i bregethu trwy wahanol siroedd Cymru. Yr ydym fel arferol, yn caru pawb, ac yn gwneuthur ein goreu i lesoli pawb, yn enwedig y Saint. Yr eiddoch yn ddidwyll, DEWI ELFED.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O EBRILL 25 HYD MAI 6.—Dyffryn Conwy a Môn, £1; Dwyr. Morganwg, £1.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 18.] MAI 13, 1854. [CYF. VII.

## Y GAIR DOETHINEB.

GAN Y LLYWYDD S. W. RICHARDS.

*(Allan o'r "Star.")*

"FELLY chwithau hefyd, gwedi i chwi wneuthur y cwbl oll ag a orchymynwyd i chwi, dywedwch, Gweision anfuddiol ydym: oblegid yr hyn a ddylasem ei wneuthur, a wnaethom"—LUC XVII 10.

MAE y dywediad uchod o eiddo Mab Duw yn sylfaenedig a'r egwyddor ag sydd a chyssylltiad a'r holl Saint yn gyffredinol. Cyfeiria mor briodol a grymus at Saint a gweision Duw yn y dydd hwn ag y gwnelai pan ei llafarwyd ganddo wrth ei ddysgyblion yn y dyddiau cyntefig. Yn awr ni chredwn fod neb gwir Saint ar na ewylliasant gael eu gwaredu oddiwrth y gospedigaeth a'r hon y cospir y gweision anfuddiol, canys hwy a fwrir allan o bresennoldeb Duw i'r tywyllwch eithaf, lle y bydd wylofain a rhincian dannedd, ac a dderbyniant eu taledigaeth gyda y cŵn, y swyngyfareddwyr a'r putteinwyr. Gwir y dymuna pob un a iawn ystyria gyfiawnder Duw, ddianc rhag tynged mor arswydol. Os geilw yr Arglwydd y rhai hyny a ufyddhant i'w orchymynion, yn weision anfuddiol, cynnygia ymholiad pwysig i'r meddwl—Beth a wnawn ni er bod yn weision buddiol. Nid ymddengys bod ond un atebiad i'r ymholiad hwn, a hyny yw, gwneyd rhyw bethau *heblaw* a orchymynir i ni.

"Eithr," ebe un, "pa beth a allaf wneuthur, a fyddai foddhaol yngolwg Duw, ar na orchymynir i mi ei wneuthur?"

Atebwn, Cadwch y gair Doethineb. I'r dyben hyn ei rhoddwyd, nid drwy orchymyn na gorfodaeth, eithr drwy ddadguddiad, ac yn egluro ewyllys Duw. Honna fod wedi ei roddi "yn egwyddor gydag addewid." Yr egwyddor gyfeiriedig yw beth a ddylai y Saint ddeall, a dyma yw—A ufyddha y Saint i ewyllys Duw, pan ei heglurir iddynt drwy ddadguddiad, heb gael eu gorchymyn, neu oni wnant hwy ddim ond yr hyn y gorfoda ofn cosp cyfraith dorredig hwy i'w wneyd? Rhaid i bob Saint gael eu profi ar yr egwyddor hon, a'r Gair Doethineb yw y maen prawf.

Dywedodd yr Arglwydd, mewn dadguddiad diweddar drwy Joseph Smith, mai gwas diog ac analluog i sefyll y cyfrifir yr hwn a arosa i gael ei orchymyn cyn y gwna. Cyduna hyn yn hollol a'r dyfyniad uchod o eiddo yr Iesu, a dengys yr anghenrheidrwydd anhebgorol o ufyddhau i gyngher yr Arglwydd drwy Ei weision mor ewyllysgar ac mor hyderus am wobr ag yr ufyddhai i unrhyw gyfraith adnabyddus. Ufyddhai y Saint hyny sydd a'u bwriad yn gywir ar wneuthur ewyllys Duw, mor ewyllysgar pe amlygid ei feddwl iddynt drwy air doethineb a phe deuai atynt drwy orchymyn, neu mewn ffurf o gyfraith orfodol yn ei gofynion.

Pan y dyry yr Arglwydd ei gyfraith i'w bobl, anghenrhaid iddynt ufyddhau i'r gyfraith hono neu oddef y canlyniad. Ufyddhai llawer ond odid, i'r gyfraith er mwyn arbed y gosp am anufydd-dod, yn hytrach nac o herwydd unrhyw leshad neu fendith a ddeilliau o herwydd eu hufydd-dod. Amcana yr Arglwydd ddadfeilio yr egwyddor hon o galonau y Saint. Ni hoffa y fath ufydd-dod a hyny, gwasanaeth anffyddlon ac angharedig wâs ydyw, ac a gaiff ei deilwng wobr.

Tybiwn ddau wâs yngwasanaeth yr un meistr daearol, y rhai a dalir yn gyfartal i'w gilydd am eu gwasanaeth yn ol amser ei gwasanaethiad. Pan y dirwin amser eu cyflogiad i ben a hwy wedi derbyn eu cyflogau, nid yw y meistr yn teimlo dan rwymau iddynt, canys ni ychwanegasant ei eiddo, ond cawsant dâl am eu gwasanaeth. Eithr pe buasai un o'r gweision hyny yn ofalus dros feddianau ei feistr, gan ymchwilio am bob cyfle i wneuthur mwy nac â orchymmynwyd, efe a ymhyfrydai yn y gwas buddiol hwnw ac ai cynnysgaeddai a gwerthfawroccach anrhegion ysgatfydd, nac oedd gwerth ei gyflog am wneyd a o'r

chymmynwyd iddo, os na chadwai ef yn ei dy gydag ef mwyach. Efelly yn gywir y mae Duw, yr Hwn, nid yn unig a ddyry orchymynion i'w weision, eithr a amlyga Ei ewyllys mewn amrywiol ffyrdd er profi a ydynt yn ofalus am lesiant ei waith ai eiddo yn mhob peth, ac os achubant bob cyfleustra i wneuthur daioni fel y gogonedder Duw. I'r cyfryw, cyfrana y goreuon oi fendithion yn ddifesur. Ni fwrir y cyfryw ymaith byth, eithr yr hwn yn unig a ufyddhai i'r *gorchymyn*—heb ond gwneyd ei *ddyledswydd*, a deilynga Ei anghymmeradwyaeth a gwobr gwas anffyddlon; yr addewid gyssylltiedig a chadw y Gair Doethineb sydd fawr iawn, a'r neb na sicrha y fendith hono drwy gadw y Gair Doethineb ni theilynga ffafr neillduol Duw, yn hytrach na'r cyffredinolrwydd o ddynolryw.

(*I'w barhau.*)

---

## CYNGHOR CYNNADLEDDOL YN MERTHYR.

*Crynodeb o'r hyn a wnaed ynNghynghor y Gynnadledd.*

*Dydd Llun*, Mawrth 27,—Cynnaliwyd Cynghor, i'r dyben o ymdrafod a gorchwylion na allwyd eu cwblhau yn y Gymmanfa. Wedi canu, gweddiwyd yn gyhoeddus gan yr Henuriad Thomas Jones, Caerfyrddin, a chanwyd trachefn gan y Côr.

Y Llywydd Jeremy,—a roddodd amryw gynghorion buddiol, annogodd y swyddogion i arfer tynerwch a challineb wrth bregethu yr Efengyl; am iddynt amlygu awydd achub, trwy ymdrechu mwy at ddangos rhagoroldeb yr hyn a wyddant ei fod yn wirionedd, nag at ddangos drwg y crefyddau ereill, oblegid y duedd gref sy mewn dyn i ddigio yn herwydd ymosod ar ei opiniynau, er y medrir eu profi yn gyfeiliornus; fod cyfarwyddo teithiwr i'r ffordd iawn, yn cynnwys nad iawn unrhyw ffordd arall. Cymhellodd hwy i dystiolaethu am y bendithion a fwynheir genym, gan berswadio y gwrandawwyr i ddyfod a mwynhau yr unrhyw fendithion.

Y Llywydd Jones.- Wedi ymborthi ar y danteithion a gawsoch ddoe, mewn cyflawnder, gobeithiaf fod awydd ynoch, heddyw hefyd, am ychwaneg. Credaf y ceir yma ychydig friwfwyd i chwi, ac yr ymborthwch chwithau, gan beidio a gwastraffu, ar y gweddill a adawyd, sef, ar y briwsion sy genym. Y maent yn sicr o fod yn dda, o herwydd mai o ganol y dorth y daw briwsion;

sef, o'r man goreu ynddi. Rhoddaswn amryw o'r briwsion hyn i Lywyddion y Cangenau, pe y buasent yma i'w cael; eithr ymddengys iddynt ddiystyru y briwsion a gasglasom, heb gofio y perthynant i'r dorth, ac os pe hebddynt, y buasai ein torth i gyd yn grestenog, gydag ogof gafnog yn ei chanol.

Y mae pob addysg dda yn llesol i'w derbyn, ac hyderaf y ceir ynom awydd a diwydrwydd i gyflawni gwaith Duw, am y gwelwn yr anghen o hyny. Nid oes un peth yn llonydd, ond naill ai yn ymgyssylltu, yn ymgorffori, yn ymfywiogi, yn ymgynnyddu, ac yn eppilio, neu ynte yn ymddatgyssylltu, yn ymddadansoddi, yn ymfarweddio, yn ymleihau, ac yn peidio a dwyn hiliogaeth y mae pob peth, fel y crybwyllais o'r blaen; os edrychir ar y byd, clywir trwst a gwelir galanastra rhyfeloedd echryslon, daeargrynfau dychrynllyd, pläau marwol, a heintiau dinystriol yn ei gynhyrfu trwyddo; a chanfyddir dynion yn ewyllysgaryddion rhyfelgar i roddi eu hunain, yn ymladdwyr brwydrau eu breninoedd, ac i aberthu eu bywydau i lawr, os bydd achos, er mwyn diogelwch eu gwlad ac anrhydedd eu coron; ond, os edrychir ar yr eglwys, ceir gormod tawelwch, a'r swyddogion fel yn sïo eu gilydd i hepian a chysgu! Pe y taranem air Duw i'r byd, megys ag y dylem, byddai yn rhaid i'r byd a'i drwst ymddystewi, gan wrandaw ar ei air nerthol Ef; yna, gallem ddywedyd, fel yr hen brophwyd gynt, "Llefarodd yr Arglwydd o'r nefoedd, gwrandawed y ddaear;" ond cyn y ceir hyn, rhaid ydyw cael yr Eglwys i wrandaw yn gyntaf; ac O! na allwn gael gan bawb wrandaw arnaf. Pe bai genyf lais fel taran, bloeddiwn hyd nes y clywai pawb fy llef, ac yr ymddeffroent o'u cysgadrwydd, er hyny, nid felly y mae; ond yr ydwyf yn ymdrechu yr oll a allwyf yn y cylch y gwelwch fi ynddo; a'n dyledswydd ni oll yw chwilio am le i wneyd daioni, gan ymdebygu i'n Tad, yr hwn sydd yn chwilio am le i drugarhau. Yr wyf yn penderfynu na pheidiaf ag ymdrechu cyffroi fy mrodyr, hyd nes crygu o'm llais, fel nad allo lefaru, ac hyd nes gwywo fy mraich, fel nad allo ysgrifenu! Paham hyny? O herwydd y gwelaf ddinystr y cleddyf yn dyfod, a thrigolion y byd mewn cyfyngder, yn edrych am waredigaeth o rywle; dyna pa ham yr wyf yn penderfynu cael gan wyliedyddion muriau Seion goelio yr hyn a ddywedwyf. Hyfryd iawn yw genyf yr hyn a wnaed, yn yr amser sydd wedi myned heibio; llawen wyf i'r Arglwydd ddodi ynghalonau fy mrodyr i wneyd

yr hyn a wnaethant; ac ystyriaf iddynt ei wneyd fel pe wedi gwneyd llawer troswyf fi. Gofid calon yw genyf weled neb yn esgeuluso eneidiau dynion trwy beidio a throi yn eu cylchoedd. Dymunwn i Ysbryd y gwirionedd argraffu yr hyn a lafarwyd neithiwr, am y peth yma, yn ddwfn ar feddyliau y rhai oll ag oeddynt yn clywed, i'w dwyn i iawn ystyried sefyllfa y byd a'u dyledswyddau eu hunain, hyd nes eu cyffroi at wneyd daioni yn eu dydd a'u tymmor, ac iddynt fyned allan fel gwyliedyddion Israel i rybuddio y bobl, i bregethu yr Efengyl i ddynion, ac i ennill eneidiau at Dduw.

Pe buaswn wr yn perchen cyfoeth daear, dywedaswn wrth y brodyr dyma i chwi arian at gynnal eich teuluoedd, neu dyma i chwi fwyd o'm Masgnachdy, ewch allan a phregethwch yr Efengyl i'r byd; a phe felly y buasai gyda mi, cawsech weled dynion yn carlamu allan gyda eu gwisgoedd duon a'u gwddf gadachau gwynion, pe gwell y rhai hyny i fyned allan a phregethu trwy y wlad yn rhwydd! Siarad ffol ydyw hyn onide? Pa ham y soniaf am fodd i gyfranu ymborth, gwisgoedd, ac arian? Onid ein Tad ni a biai y ddaear a'i chyflawnder, y byd ac a breswylia ynddo? Onid ydych yn frodyr i Iesu Grist, ac yn etifeddion pob peth? Onid yw ei air yn eiriol trosoch? Onid ein Tad yw *Pen Bancer* y bydoedd? Onid ein Brawd hynaf yw y prif geidwad arian? Onid oes genym dalebau a roddodd Efe i ni i'w cyfnewid am arian a phob peth? Ond, pa fodd ei gwelir yn fyn. ych? Gwelir plant y *Bancer* weithiau yn cerdded yr heolydd yn llymion eu dillad, yn weigion eu cylla, ac yn ofni na allant gael digon o anghenrheidiau bywyd, a'r talebau o'r *Banc* yn eu dwylaw, a'r Brawd hynaf yn y *Banc* gerllaw iddynt, a'r *Bancer* mawr yn barod i gyfranu pa bethau bynag a ofynont yn enw ei Fab Ef; ond, hwythau yn rhy anffyddïog i fyned a gofyn! Felly y mae gyda rhai o honoch chwi, frodyr, gwyddoch hyny! Ai ni allwn gael ychydig ychwaneg o ffydd am yr arian yna? "Canys heb ffydd, anmhosibl yw rhyngu bodd Duw." Ffydd sydd yn eisiau arnom; ac ond ei chael ni bydd a ofnwn wedi hyny.

Gwyddwn pan yr ymunais a'r Saint, y collwn sefyllfa dda yn y byd; eithr gwelais mai gwell colli arian daear na cholli enaid; mai gwell colli mwyniant y bywyd hwn na cholli dedwyddwch y bywyd tragywyddol. Croeshoeliais fy nheimladau yn hytrach

na gwneyd yn ol fy mympwy fy hunan. Gwnaethym gyfammod a'r nefoedd y gwnawn waith Duw, ac ar yr un pryd, gwnaeth y nefoedd gyfammod a minnau yr edrychai tros fy nheulu, y rhai nad ydynt hyd yn hyn wedi goddef eisiau. Gwariais, er y pryd hyny, gannoedd o bunnau, ac nid wyf heb ddim hyd yma; gwariais yr arian a gefais, at achos Duw, a gofalodd yntau am fy achos innau; a pho mwyaf a wariwn, cyfoethocach yr aethym o hyd; ac yn fy myw nis gallaf fi a myned yn dlawd! Ymddangoswyf fel un a fyddai ddibris a diofal am ei deulu, eithr nid wyf golledwr drwy hyny, o herwydd y mae fy Meistr yn gofalu am danynt; a phe yr esgeuluswn ei orchwyl Ef, a gwneuthur fy ngorchwylion personol, gwnelai yntau ei orchwyl ei Hun hefyd, a gadawai fy un i ar ol!

Tra y gwelwyf fy hunan yn cynnyddu yn lle lleihau, daw i'm côf yr hen gyfammod a wnaethym pan ar ddyfroedd y Missisippi, cofiodd yr Arglwydd am danaf, danfonodd Ef ddynion ag arian i mi, cyn y bod arnaf eu heisiau braidd? Nid oes yn Nghymru rai a allant ddywedyd i mi fynu oddiarnynt un ddimai ar gam; nid oes galwad arnaf i'w gofyn, oblegid gwybyddus yw i mi fod Duw yn cyfranu digon o angheurheidiau at ei waith, ac yn dylanwadu a'r galonau ereill i gyfranu.

Ai tybied a wneir frodyr, nad oes rhai o honoch chwithau yn gyfryw a allant wneyd cyfammod o'r fath yna gyda Duw, gan roddi eich hunain iddo, a gadael iddo Ef ofalu am eich gorchwylion? O! y fath deimladau drwg yw gormod rhag ofal am arian erbyn efory! Ond y mae Duw yn profi ei blant mewn amrywiol sefyllfaoedd, a cheir yma frodyr a gawsant brofiad mawr, er hyny, ni adawodd ef un o'i weision erioed ar ol, gyhyd ag y cyflawnant hwy ei orchwyl Ef. Deuodd aml un o wyr yr arian ataf i ofyn cynghor, ebe hwynt, a dywedent, "Frawd Jones, gwaith tlawd hynod sydd yn y man y danfonasoch ni iddo i bregethu neu i lywyddu, pa beth a feddyliech chwi pe yr elem i'r lle hyn, neu i le arall, y gallem ennill dwybunt yn ychwaneg y mis?" Dyna ofyn cynghor onide? Yn lle addoli eu Duw, gwell ganddynt fyned ag addoli i'r hen *docyns*!

Yr oedd pregethwr perthynol i'r Wesleyaid yn ymadael a lle yn yr America, i fyned a phregethu mewn lle arall, ag y cawsai ynddo oddeutu cant Dolar yn ychwaneg nag a roddid iddo yn hwnw, ac wrth bregethu ei "*Ffarwel Sermon*," a chwyno ei fawr ofid yn

herwydd gorfod gadael pobl ei ofal, dywedai na allasai dim ei ddenu ymaith oni bai fod yr Arglwydd yn galw arno. Yr Arglwydd oedd yn ei alw oddiyno, ebe efe ei hun. Ond hen Negro, a'i enw George, a ddywedai wrtho, na, na, Massa, y can Dolar sydd yn galw." Pan y delo brodyr a gofyn cynghor genyf, i fyned i'r lle y ceir mwyaf o *docyns* gwnant i mi feddwl am yr hen Negro George.

Dichon, wrth fy nghlywed yn dywedyd pethau fel hyn, y tybiwch mai gweision i mi ydych; nid felly, eithr teimlaf fawr awydd yn y gwaith santaidd, ac yr wyf yn adrodd y pethau hyn i'r dyben o'ch cyffroi a'ch cael i ganfod mai eich dyledswydd yw teimlo yr un sêl a minnau yn y gwaith, a dweyd yr un geiriau a minnau wrth ereill, a rhoddi o honoch eich bryd, nid i'm gwasanaethu i, ond *gwasanaethu Duw*.

Os oes rhai o honoch am fod yn fwy nag ereill, bydded mwy o weithredoedd da ynoch i brofi hyny. Y ganwyll a rydd fwyaf o oleuni yw y ganwyll oreu. Goleuni y byd ydych chwi, goleuwch hwynt; a'r hwn a'u goleuo fwyaf yw y ganwyll ddysgleiriaf. Nid y Saint yn unig, yn eu cyfarfodydd, sydd i'w goleuo; ond y mae eich eisiau i *Volunteerio*, a myned allan i filwrio tros deyrnas Dduw. Lluoedd o ddynion ein gwlad a ymroddant gan fyned i ryfel ac ymladd a dynion gwlad arall am hanner llonaid bola o fwyd, mewn peryglon lawer, ac aberthant eu bywydau os gelwir am hyny, dros deyrnasoedd darfodedig y byd. Yr oedd yma un y neithiwr a gynhyrfwyd gan y marwor tanllyd a arllwyswyd arno, a theimlai yn awyddus am *Volunteerio* a myned allan dros Dduw, a chynnygiodd ei hun i bregethu trwy y wlad; ond neidiodd gwraig ieuanc i fyny, a'i dwrn i'w ddanedd, a mynai ei gadw rhag ei fod yn ddefnyddiol i mi, nag yn fuddiol i'r Arglwydd.

Nid myned i ryfel at golli bywyd a geisir genych, eithr i etifeddu bywyd tragywyddol, i gael dyrchafiad i fod yn freninoedd ac yn Offeiriaid i Dduw, i feddiannu gorseddau, a theyrnasu yn nheyrnas Dduw. Frodyr, a gaiff meddwon y byd ragori arnoch mewn ffyddlondeb trwy wirfoddoli i ddyoddef caled' a thriniaethau chwerwon, mewn eisiau bwyd, gan fyned a lladd eu cyd-ddynion, a cholli, rai miloedd o honynt, eu bywydau eu hunain, trwy frwydro tros deyrnas i ddarfod? A gaiff rhai di grefydd ragori arnom ni, Henuriaid Israel, o herwydd anmharodrwydd ynom i fyned yn wirfoddol ac achub eneidiau dynion, a mwyn-

hau Ysbryd Duw, ac ennill anrhydedd a gogoniant i'n hunain gan Dduw? Mae y diafol yn traws-lywodraethu planed ein Harglwydd ni a'i Grist Ef, ac y mae ef yn crynhoi ei holl fyddinoedd o bob man, hyd y nod o ganol carcharau uffern, i ollwng ei holl filwyr yn erbyn gweision y Goruchaf. Geilw ein Harglwydd ninnau am *Volunteers*, ac enfyn ei swyddogion allan, am y bod brwydr i gymmeryd lle, a'u harweinydd medrus yw yr Hen Ddihenydd, ac y mae Ef yn deall holl drefniadau, rhestrau, a chynlluniadau gwyddoriaeth *(science)* rhyfel y prif elyn; Efe yw y Blaenor buddugoliaethus, ac y mae Efe yn foddlon rhoddi doethineb o'r un rhyw a'i eiddo ei Hun i chwi, a danfon allan yr hwn a'i derbynio ar hyd gogledd Cymru i ladd y miloedd pechodau, ac i achub y miloedd pechaduriaid sy yno, i gadwedigaeth. Nid oes colli bywyd gwas Duw i fod yn y rhyfel hwn, pe y cwympid a marw, buddugoliaeth a fyddai hyny, a gollo ei einioes a'i caiff hi, a chynnygir cyfleustra yn awr i bob un o'r brodyr fyned ac ennill buddugoliaeth, a gogoniant, ac anfarwoldeb iddo ei hun mewn dedwyddwch tragywyddol,—*Pwy a aiff?* PWY?

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MAI 13, 1854.

CYNNYDDIANT GWAITH DUW,—yw hoff destun ein HUDGORN yn barhaus;—oni addawsom mai felly y byddai? ac etto, cynnyddiant teyrnas Dduw a fydd ein cân. Da, nad nyni yn unig a deimla awydd am lwyddiant y gwaith hwn, eithr y fod awydd cyffredinol ac ymadnewyddiad, nid yn Nghymru yn unig, ond drwy y byd; mae y Saint ffordd hyn fel pe yn credu fod yr Arglwydd o ddifrif pan yn eu rhybuddio o'r pläau, a'r heintiau, y rhyfeloedd a'r holl ddinystr sydd ar ddyfod ar warthaf yr anwir fyd. Mae amryw o'r brodyr ffyddlon yn ymofyn pa beth a fyn yr Arglwydd iddynt wneuthur er achubiaeth eu cyd-ddynion, dan ddwys ystyriaeth o'r ffaith y gofynir cyfrifoldeb am ein hymddygiad atynt.

Mae ein Hybarch Lywydd S. W. Richards hefyd yn teimlo dyddordeb y gwaith hwn yn fawr, ac yn dangos awydd am ei gynnyddiant, deilwng o efelychiad, fel y deallir wrth yr annogaethau taerion a ganlyn o'i eiddo yn y *Star*.—"Tywalltodd yr Hollalluog ei Ysbryd yn ei weithrediadau yn rymus ryfeddol yn y cyn oesoedd. Efe a addawa ei arllwys yn helaethach a mwy rhyfeddol etto yn y dyddiau diweddaf. Drwy brofiadau o'r mynedol dealla y Saint ei fod Ef yn bendithio ei blant â doniau ei Ysbryd ac a chysuron yr iachawdwriaeth, a deallwn drwy lythyrau mynych oddiwrth Fugeiliaid a Llywyddion Cynnadleddau fod y bendithion hyn ar eu cynnydd yn mhlith y Saint Prydeinig. Ac y mae ein Tad nefol yn barotach i gyfranu yn fwy-fwy o nerthol weithrediadau ei Ysbryd nag y mae y Saint yn gyffredinol yn awyddus i'w derbyn.

"Gan mai felly y mae, beth a luddias y gwaith yn Mhrydain i fyned yn mlaen gyda sel a chyflymdra deuplyg? Paham na orphwysa Ysbryd Duw yn nerthol ar holl gangenau ei eglwys yn ein gwlad? Paham na chyffroir Ysbryd ymofyngar yn mhlith y bobl, ynghyd ag awydd am ddeall gwirioneddau pwysig y genadwri olaf hon, yn mhlith miloedd o feibion a merched Brydain? Paham na thra ragora y flwyddyn 1854 mewn tywalltiadau helaethach o Ysbryd Duw ac mewn cynhenaf digyffelyb i achub eneidiau? Nid oes rwystr nac achos paham oddieithr anffyddlondeb y Saint. Os ymostynga y Saint Prydeinig eu hunain oll o unfryd calon ger bron yr Arglwydd, mewn edifeirwch am eu beiau, gan ddwblu eu diwydrwydd a'u ffyddlondeb, a gweddio yn daer arno Ef i dywallt o'i Ysbryd Glân yn helaeth arnynt hwy ac ar bobl Brydain, credwn y tywalltai fendithion i wared na byddai lle i'w derbyn —llanwid plant Duw a ei Ysbryd, hyd nes y byddai ei nerthol weithrediadau yn amlwg i bawb, a miloedd o eneidiau gonest a gofleidient y gwirionedd, er llawenydd i'r Saint a syndod i'r byd.

Etto gofynwn, beth a rwystra y fath gynnyddiant ar y gwaith? Ymddengys pob peth yn bleidiol. Mae y Saint wedi cynnyddu mewn doethineb, agorwyd maesydd newydd i'w myfyrdodau lle y gall eu meddyliau yn gyfreithlon ymgrwydro, cyfiawn weinyddiadau cyfraith Duw a'r gyfiawnion ac ar anghyfiawnion a bortreadwyd ger bron eu llygaid. Mae barnedigaethau Duw a'r led drwy y byd. Difrodaeth rhyfel a haint a

gyd-dystiolaethant mai gwir yw cenadwri yr Henuriaid, ac nid yn hollol ddieffaith ychwaith. Hyd y nod yr athrawiaethau diweddaraf a lanwasant y Saint a gobaith a llawenydd, a'r byd a gelyniaeth ac arswyd adnewyddol, ac a gyd-brofir yn wirioneddol drwy y chwyldroadau sydd i oddiweddyd cenhedloedd y byd. Grymus-wyr a syrthiant yn y rhyfel, ïe, blodau dynoliaeth a aberthir yn ymborth i ryfel a haint. Yn eglurach, gwel y byd yr anghenrheidrwydd o ymfudo i Seion nid yn unig er dianc rhag dinystrau y byd, eithr, hefyd ymddengys doethineb ac ardderchawgrwydd egwyddorion sylfaenol y "nefol deuluoedd" yn gyferbyniol i dorriad ymaith gryfder y genedl gan y cleddyf a'r plâ, pan, y gonest galon a ymlawenha yn y gobaith a osodir o'i flaen yn yr Efengyl. Profodd llawer o feibion Brydain yn ddiweddar, drwy ffeithiau galarus, eu hannheilyngdod i fwynhau, neu eu drygioni yn troseddu y parch a'r nodded a deilynga creaduriaid glanaf ein rhyw—yn awr gelwir y meibion hyny i wynebu y gwaedlyd faes rhyfelawg, a llawer o honynt ni ddychwelant.

A ni yn gweled fod yr holl bethau hyn yn gyd-weithredol er lledaenu gwaith yr Arglwydd yn Mrydain, oni ddylai yr holl Saint deimlo eu hunain dan rwymau i rolio olwynion y deyrnas yn mlaen, a choroni eu diwydrwydd a bendithion y nefoedd? Gadewch i ni weled oni wneir rhywbeth yn y flwyddon hon er lledaeniad y gwirionedd--rhyw beth a lanwa galonau yr holl Saint drwy y byd a llawenydd a mawl i'r HWN YDWYF, mawr. Ni ddylid anghofio fod bendithion yr Arglwydd yn cael eu cyflwyno mewn cyfartalwch cywir i ffyddlondeb y derbynydd. Dealled y Saint ynte, fod yn eu dwylaw eu hunain agoriadau eu bendithion.

Y cyfryw yw annogaethau ein Llywyddion, Frodyr! Yn mlaen ynmlaen i frwydr, i *fuddygoliaeth, pwy a ddaw?* Nid pwy a *aiff*, eithr, *o flaen* ein byddin ddewr, er yn fechan, gwaeddwn PWY A DDAW? Deued un, deued oll a fedda ofn Duw neu barch i ddyn—ufydd-dod i'r naill neu gariad at y llall, a'r neb a ewyllysio godi ei gleddyf daufiniog yn erbyn creulonach teyrnfradwr a gwaeth gelyn na *Nicholas* ei hun, yn awr yw'r cyfle, doed i'r alwad,—Duw o'i blaid yn darian a fydd.

---

NEWIDIAD Y LLYWYDDIAETH FRYDEINIG.—Hysbysir ni

gan ein parchus Lywydd S. W. Richards, fod y Brif Lywyddiaeth, ar ei ryddhau ef o'r cylch presennol, a gosod ei frawd, sef yr adnabyddus a'r anrhydeddus Franklin D. Richards o "Gworwm y deuddeg" i'w olynu, yr hwn sydd ar ei ffordd yma yn awr. Rhwydd hynt iddo, croesaw medd ein calon, ŵr doeth, enau dros Dduw, a mawr arddeliad fo a'r ei lafur. Llawenycha ein darllenwyr hefyd, yn y gobaith o gydweithrediad y nef etto, a'r Lywyddiaeth newydd, megys ag ein bendithiwyd yn helaeth wrth ufyddhau i'w gynghorion yn y blynyddoedd y bu yma yn Llywyddu, sef yn 1850—1. Rhwydd hynt a mawr lwyddiant i'n hybarch a'n cariadus Lywydd ymadawedig pan yr elo, awelon y nef o'i blaid a fo, a mawr groesaw i fynwesau Seion gu, a theulu gorfoleddus—Duw eu dadau, am ei dda, a'i had-dalo fel na all arall, a'i deilwng ben a goroner â ffrwyth ei lafur mawr yn yr amser priod, yw awydd ei gyd-was hiraethog.

---

Yr Ymfudiad Ewropaidd eleni.—O'r 22ain o Ionawr hyd 24ain o Ebrill, hwyliodd naw o longau mawrion o borthladd Llynlleifiaid yn llwythog o Saint yn ymfudo tua Seion, pa rai a arolygwyd gan ein teilwng Lywydd S. W. Richards yn eu holl ddarpariadau cychwynol. O'r cyfanrif o 2702 yr oedd 58 o'r Genadiaeth *Swiss* a'r *Italian*, 678 o'r genadiaeth Ellmynaidd, ac oddeutu 300 o Gymru. Anfonwyd am 216 o'r Dyffryn gan eu perthynasau, ac aeth 8?7 ereill drwy gynnorthwy y Gymdeithas Ymfudol Barhaus. Costiodd yr ymfudiad hwn o £40,000 i £50,000. Ac wedi gorphen y mawr waith oll, sylwa y Llywydd—"Gyda mawr bleser y sylwasom ar y teimladau daionus, y cariad, undeb, a'r trefnusrwydd a ddynodai gymmeriad y Saint ymfudol yn y tymmor mynedol, a'r hyn a ennillodd ganmoliaeth fawr gan fyd llygad-graff. Tra y parhâ y fath frawdgarwch bydd yr Arglwydd yn eu plith, i'w diogelu rhag pob niwed, ac i'w cynnysgaethu ag amynedd i barhau yn ffyddlon hyd ddiwedd eu taith."

---

Y Gymdeithas Ymfudol Barhaus.—Caniataer i ni yr hyfdra presennol i alw sylw y Saint yn fwy neillduol at y Gymdeithas ddaionus hon yn ychwanegol; canys, y mae yn deilwng o gefnogaeth. Hyderwn yr ymgalonoga y Saint at y gorchwyl pan edrychant dros yr hanes uchod, a gweled beth a wnaeth

hon eisoes. Yn gyferbyniol i'w hiraeth am Seion y llawenhânt am y ffordd o waredigaeth,—a phwy na ddywed nad dyma hi—hon yw'r fam a gipia ei phlant ffyddlon yn ei chôl i'w cartref ddymunol.

Yn y fiwyddyn 1852 ymfudodd 250 drwy'r Gymdeithas hon. Yn 1853, cynnorthwyodd 403, ac erbyn eleni gweler y cynnyddiant mawreddog i 1073, y mwyafrif o ba rai oeddynt heb obaith, amgen, o waredigaeth o Babilon yn awr, os byth. Yma gweler eu bod hi wedi mwy na dyblu bob blwyddyn, a phan ystyrier hefyd, fod y rhai a aethant eleni wedi ymrwymo i gyfranu i'r Gymdeithas, heblaw eu cludiad, y swm o yn agos i £2000 i'w talu wedi y cyrhaeddont draw, pa rai, fel yn eu holl dreigliadau ereill a gynnyddant yn holl gylchdroadau y Gymdeithas hon: yn yr ystyriaethau hyn oll ymlawenhaed y Saint fod amser eu hymwared hwythau, er nad tlodi a phob rhwystrau, yn agoshau. Achosa y cyfraniadau am y chwarter mynedol i ni ofni fod y Saint yn colli golwg ar amcanion mawreddog y Gymdeithas hon, a chrefwn sylw yr holl Lywyddion at hyny.

Dywedasom o'r blaen wrth y Saint a feddant berthynasau neu gydnabod, neu nad pwy, yn Seion am ysgrifenu atynt i'w coffâu o'u dyledswyddau i anfon am danynt ar eu hol—ail annogwn i hyn, canys gwyddom mai hawdd yw iddynt hwy wneyd hyn—appelier at eu cofiant am eu hawydd blaenorol eu hunain, ac hysbyser iddynt fawr helbulon a pheryglon Babilon. Gwelsom lythyr yn ddiweddar oddiwrth gyfaill yn cynnyg talu costau dau berson o Gymru i'r Llyn Halen, a sicrhauai mai CHWECH WYTHNOS o'i waith ef a dalai holl gostau y ddau yno! Pwy na ewyllysiai fod ganddo gyfaill yn Seion? Pa fodd y profir cyfeillgarwch yn well na thrwy eu hymofyn o gaethiwed i ryddid? Efelycher y weddw daer hono ynte, a'i llwyddiant hi a gorono daerineb a'i gwnelo.

Heblaw yr uchod, cynnorthwyodd y Gymdeithas lawer o Denmarc a llaweroedd o'r Unol Daleithiau.

"Gyda yr hanes difyrus hyn am y mynedol," ebe y Llywydd Richards, "a gobeithion calonus am y dyfodol, hyderwn y blaenora y Saint ar ddim a wnaethant, drwy eu cyfraniadau mwy haelionus at y Gymdeithas hon, gan wybod eu bod hwy wrth hyny yn hwyluso gwaredigaeth pobl yr Arglwydd. Teilynga yr egwyddor hon sylw neillduol gan bob Henuriad yn yr

Ynysoedd Prydeinig, a chyd-weithrediad pob un o'r Saint; ac erfyniwn gael cyn diwedd y chwarter hwn, ffeithiau profadwy o'r cyd-weithrediad hwnw, drwy eu cyfraniadau haelionus."

Hyderwn ninnau na siomir ef yn ei ddysgwyliad, ond mai ffeithiau felly o bob cwr o'r Dywysogaeth hon a brofant fawr awydd y Saint am Seion.

---

APPWYNTIADAU.—Dymunir ar y Llywydd Jeremy ymweled a Chymmanfaoedd Sir Benfro, a chyd-drefnu a'r Llywyddion hyny, y mesurau doethaf er cynnyddiant y gwaith, a'r lleoedd mwyaf manteisiol yn Penfro Ogleddol a Chynnadledd Caerfyrddin i'r brodyr a ddaw i lawr i lafurio.

Da fyddai genym weled y Llywydd Daniels yma mor gynted y bo gyfleus iddo a'r ol trefnu pethau yn Nghynnadledd Aberteifi.

Aeth y Llywydd Robert Evans, Gorllewinol Morganwg, i'r Gogledd, lle y dymunir iddo gyd weithio a'r mesurau a gyd-drefnir ganddo ef a'r Bugail J. Parry, er adgyweirio Cynnadledd Sir Fon, ac ymweled a Dyffryn Conwy, &c.

Mae yr Henuriad R. Parry a J. J. Phillips, ar eu taith drwy y Gogledd ac at eu rhyddid i lafurio yno yn ol cyd-drefniad doeth yr awdurdodau parodol yno, hyd nes y ceir hysbysiad pellach ar y peth.

Aeth yr Henuriad Eunon o Rymney i Gynnadledd Aberteifi, Dafydd S. Harris o'r Cwmbach i Bont-y-Berem,—Henuriad Howell Parry, o Sir Fynwy, i lafurio y Nghynnadledd Meirionydd; a'r Henuriad Isaac Rees Cwm Celyn i'r un maes llafur.

Bydded hysbys fod John Davies, yr hwn gynt a lafuriai yn Nghynnadledd Meirionydd wedi ei ethol yn Llywyd ar y Gynnadledd hono.

Aeth yr Henuriad John Rees i Gynnadledd Sir Aberteifi i lafurio o tan Lywyddiaeth yr Henuriad J. Evans, wrth yr hwn dywedwn i ni fethu yn hollol er pob ymgais gael gŵr i'w bŵrpas i'r fan arall.

Na ddealler ni i fod yn awgrymu unrhyw gyfnewidiad yn awdurdodau na chynlluniau unrhyw Gynnadledd wrth anfon ereill yno, ond i gynnorthwyo y rhai sydd yno eisoes, a gobeithiwn yr ymeanga yr awdurdodau perthynol, eu llygaid a'u meddyliau yn llydain i gynllunio y ffyrdd ac i weled y lle-

oedd goreu i'r *Volunteers* sydd yn dyfod i'w plith a'r fyrder i wneyd dewr-waith mewn byr amser.

---

NEWYDDION TRAMOR.—Dyry y *Deseret News* i ni lawer o newyddion dyddorol o Ddyffrynoedd y Mynyddoedd. pa rai a gyd-dystiant am fawr ofal—aml fendithion a daionus fwriadau ein Duw i Seion;—cynhaliwyd cyfarfod cyhoeddus ar yr achlysur o anfon deiseb i'r Senedd Americanaidd i wneyd y rheilffordd o'r taleithiau i California drwy Ddyffryn Utah, yr hyn a'i dygai drwy ran fawr o'r ffordd a deithir yn awr dros y *Plains*—drwy wlad gyfoethog o lô a mŵn haiarn &c., ac a fyddai o werth mawr; ac nid ydym yn anobeithiol o'u llwyddiant nac o ganlyniad, o'r agorfa a barai hyny i filoedd o wasgaredigion Seion i allu ymgasglu tuag adref. Addawa y Llywodraeth Diriogaethol 400 o ddolars o wobr i'r sawl a gynnyrchai fwyaf o gawarch a llin ar y lleiaf o dir, eleni; arall, o fil o ddolars i unrhyw ddinasydd a agorai waith glo yn effeithiol o fewn 40 milltir i'r Ddinas; bu dan ystyriaeth y cynllun goreu i wneuthur Camlas o Lyn Utah i'r Llyn Halen Mawr. Y gweithiau haiarn yn Ninas y Cedrwydd, y rhai a ohirwyd am ysbaid i wneyd amddiffynfa, a ail gychwynwyd yn rymus. Y mur o amgylch y ddinas hono oedd yn agos a'i orphen; ysgoldy yn 60 wrth 25 troedfeddi a gwblhawyd er y gwyliau, pryd yr ymwelodd tua 300 o'r Indiaid cymmydogaethol a hwynt ag y pregethodd y Brodyr iddynt yn eu hiaith eu hunain ac anrhegasant hwynt ag ŷch tew, llysiau, blawd &c., er eu mawr lawenydd. Ymroad mawr ynmhlith y brodyr i ddysgu ieithoedd y brodorion. Heddwch cyffredinol wedi ei adferyd rhwng y Saint a'r Indiaid. Cant a hanner o deuluoedd wedi ymfudo i gryfhau amddiffynfa Dinas Manti, lle yr oedd caerau cadarn o'r newydd yn cael ei wneyd—a dysgwyliad am Lywydd Newydd i olynu y Patriarch Morley, a rydd-hawyd o'r mawr ofal dibynol ar y cylch hwnw. Amrywiol o'r Cymru wedi myned i Manti i wladychu, —ereill i Box Elder 60 i'r gogledd o Ddinas Llyn Halen, a thrwy amryw lythyrau a dderbyniodd eu perthynasau yn y wlad hon, a'r rhai a'n ffafriodd a chip-drem arnynt, yn mawr ganmol eu lle a'u breintiau—iechyd cyffredinol, digonedd o luniaeth, boddlonrwydd hollol i'w cyflwr a mawr alw ar eu cyfeillion eu dilyn i'r waredfan hono; ac pan y gollyngwn raff

Yn meddyliau i redeg yno yn ol, parod y'm i waeddi,—" Gwyn fyd preswylwyr dy dŷ yn wastad y'th foliannant." pob peth yn dda yno.

---

## CASGLIADAU EGLWYSIG.

Mewn atebiad i ofyniadau mynych ac amrywiol ar y pen hwn, dywedwn fod cyfreithiau sefydlog ein Heglwys yn dysgu pob un sydd a wnelo ag unrhyw arian eglwysig, i gadw cyfrifon eglur o'r swm a dala pob cyfranwr ar gyfer ei enw mewn llyfr coffadwriaeth, i'w arolygu gan ei Lywydd, ac i foddhau pob cyfranwr a ddymuna ei weled unrhyw bryd, a'u bod i'w trosglwyddo i gyfrifon y Gynnadledd, i'w cynrychioli ar gyhoedd yn y Gymmanfa, fel y deallo pob un yn gywir fod ei arian wedi cael eu defnyddio at y pwrpas eu cyfranwyd. Gan mai yn ol ei ewyllys y cyfrana pob un, dylai y rhai y perthyna y gorchwyl iddynt ddysgu y Saint eu dyledswyddau at bob casgliad drwy ddangos yr angen o hono, y lleshad a achosa a'r niwed o beidio gwneyd yr hyn sydd gyfiawn at bob peth yn ei le a'i amser priodol; eithr nid i fygwth na chaethiwo meddyliau na gosod swmiau penodol, oddieithr bod dyled eisoes a raid ei dalu erbyn amser nodedig.

Ni allwn ddirnad fod yn gyfiawn i neb, ar unrhyw ammodau, heb ganiatad y *cyfranwr*, i dreulio neu gyflwyno ceiniog o'i gyfraniadau at ddim ond at yr hyn a amcanwyd gan y cyfranwr:—Ni fedda Llywydd, na Chynghor, na Chynnadledd, na neb hawl i roi cyfraniadau ond yn unig yn ol *dewisiad* y *cyfranwr*. Onite pa fodd y gwyddis pa faint a gyfranodd personau at un peth, pan agorir y llyfrau yn Seion;—nid cyfiawn fyddai, ac na wneler ef rhag rho'i lle i'r *gwr drwg!*

---

## BLODAU.

Y Blodau sydd hawddgar a pheraidd yn wir.
A'u hamwisg yn brydferth a brith;
Yn ddenol bwysïau, addurnant y tir,
A'u harddwch yn berlog gan wlith:—
Ond er ardderchoced, fel gem goruwch gem,
Ac er mor serch hudol y rhain,
Yn fuan ymwywant, yn waelaidd eu trem,
Ni welir o'u hol ond y drain.

Y bachgen glân tirion, yn dalgryf a hardd,
A'r wridog, fain, fywiog iawn ferch,
Rhagorant mewn tlysni ar oll yn yr ardd,
A'u tegwch hudolant bob serch;—
Ond er eu rhagoriaeth, heb dduwiol ddwyn ffrwyth,
Ni byddant o werth, ond i dân;
A chosp, i'w goddeithio, dan soriant yn llwyth,
A ddilyn euogrwydd rhai glân.

Fel nad oes gan flodau gwywedig o'u hôl,
Ond dreiniach i'w llosgi drwy'r tir,
Ieuenctyd nis gedwch, gan ymddwyn yn ffol,
Ond tanwydd eneidiol yn wir;
Y penaf brydferthwch yw rhinwedd y moes,
A ffrwythlawn santeiddrwydd hyd fedd,
Ac yna, nol darfod a'r freuol fêr oes,
Ceir cynnydd tragywydd mewn hedd.

ROBYN DDU, ERYRI.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y CHOLERA.—Mae yr ysgubell front hon etto ar waith mewn llaw rymus i lanhau heolydd Edinburgh, Glasgow,—yn nes na hyny,—yn Hamilton, Llynlleiflaid, os nad nes na hyny etto, o'u haflandid halogediccaf, sef, ymffrostgar blant "cristionogaeth" a lân luniwyd a'r ddelw Duw; gwir gristionogaeth a waredo ei hufyddion rhag ei rwysg.

LLONG DDRYLLIADAU,—Mynych a ddigwydda yn ddiweddar, un gyda cholled o dros 200 o fywydau ar ororau Brydain, arall yn mhellach i'r gorllewin a suddodd wedi braidd gael tuag 800 o ymfudwyr o honi ar fwrdd llong arall.

DERBYNIADAU AM LYFRAU.—£0,000,000,000,000,000,000 ! ! !

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street*, *Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 19.] MAI 20, 1854. [CYF. VII.

## Y GAIR DOETHINEB.

GAN Y LLYWYDD S. W. RICHARDS.

[Parhad o dud. 279]

Ysgrifenwyd a phregethwyd llawer o barthed i'r Gair Doethineb, a gwnaeth rhai Henuriaid hyn yn rheol i brofi teilyngdod aelodaeth eglwysig, ac er hyn oll nid yw pawb yn ei ufyddhau; ereill a ufyddhasent iddo am ysbaid, a deimlant yn rhydd i ddychwelyd at eu harferiadau llygredig blaenorol, fel yr hwch wedi ei golchi yn dychwelyd i'r dom, o herwydd na orchymyna y dadguddiad yn bendant i'w ei gadw. Tybiwn na chadwodd y rhai a droisant oddiwrtho fel hyn, mo hono erioed er mwynhau ei fendithion, ond drwy ddyben annheilwng, naill a'i o herwydd y gorfodwyd arnynt, neu y fod ereill yn ei gadw, ac y byddai raid iddynt hwythau wneyd hyny neu gael eu hystyried yn wan yn y ffydd. Mae yr holl ddybenion hyn yn anghydweddol ag egwyddor y dadguddiad, canys ni roddwyd ef "drwy orchymyn na gorfodaeth," ac ufydd-dod gwirfoddol i ewyllys ddadguddiedig Duw yn y fath hyn, yw y dystiolaeth gadarnaf o gywirdeb y rhai a ymddarostyngasant i'w gyfreithiau Ef.

Nid doeth yr holl ymdrechiadau a wnaed er sefydlu yr egwyddor hon, onide buasai ei heffeithiau rhinweddol yn fwy cyffredinol a pharhaus.

Ped ufyddheid iddo oddiar iawn ddealltwriaeth o'i egwyddor sylfaenol, o lwyr fryd calon i anrhydeddu yr egwyddor ac i

fwynhau y fendith, byddai y fath ddyben mor sicr a pharhaus a'r egwyddor. Ac ni ddichon Saint weithredu yn ymwybodus ar sail egwyddor bur a thragywyddol heb deimlo eu bod yn troseddu yn eu herbyn eu hunain, yn erbyn yr egwyddor a'i Hawdwr, os troant ymaith oddiwrthi; camgyhuddent eu bywyd felly, a thraddodent eu hunain i ddylanwad gau ysbryd, yr hwn a'u harweiniau i dywyllwch ac yn y diwedd i angau.

Honna y Gair Doethineb fod yn "ewyllys Duw," ac os felly, ni ddichon unrhyw Saint ei ddiystyru heb deimlo mwy neu lai o gondemniad. Ni ddichon unrhyw Saint weddio am i ewyllys Duw gael ei wneuthur ar y ddaear megys ei gwneir yn y nef tra yn troseddu y Gair Doethineb heb fod yn gwatwar Duw drwy hyny; o herwydd, cyn y daw yr amser gogoneddus hwnw, rhaid iddynt gadw, nid y Gair Doethineb yn unig, eithr hefyd bob ewyllys dadguddiedig y nef, pa un a'i trwy orchymyn neu gynghor.

Os na ufyddheir yn ewyllysgar i'r cyfryw ewyllys Duw, yn fuan daw iddynt yn orchymynedig ac yn fatter o anghenrhaid, a'r wobr am y fath ufydd-dod yw gwobr y gwas anfuddiol. Gymmaint mwy boddhaol yngolwg Duw yw fod Ei blant yn ymhyfrydu byw yn ol pob gair a amlyga Ei ewyllys o barthed iddynt, na eu bod heb wneyd dim ond yr hyn y gorfoda ofn cosp y troseddwr hwynt i'w wneuthur. Cyffelyb i'r plentyn anufydd, yr hwn a gynllwynai i dalu yr ufydd-dod a rwystrai i'w dad ei ddiarddel, felly y mae gormod o'r Saint, y rhai nid ymddengys bod ganddynt amcan pellach na sicrhau iddynt eu hunain aelodaeth Eglwysig mor ddidrafferth a digost ag y gallont. Amlygir yr egwyddor hon yn nodedig yn y rhai ni chadwant y Gair Doethineb, na chyd-ymffurfiant ag amryw gynghorion ereill o herwyddd nad ydynt yn orchymynedig. Nid ymhoffa Duw yn cyfranu bendithion y nef i'r cyfryw fwy nac y cyfranai tad ei drysorau i blentyn trofaus. Gwobr y cyfryw fydd gyfartal yn unig i gyfiawnder y gyfraith a gadwasant tra y rhai a fyddant byw yn ol pob gair a ddaw o enau Duw, a gyfoethog alluogir i wneuthur daioni, i adeiladu Seion, a hwy a gymmeradwyir ganddo fel na attal Efe ddim daioni oddiwrthynt, a'u gwobr a dra ragora ar ddim a ddychymygodd calon dyn. Diau nad allai fod gan yr Arglwydd ddyben amgen yn amlygu y Gair Doethineb nac i fendithio, dedwyddoli a dyrchafu ei blant;

i'r cyfryw ddiystyru y bendithion cynnygiedig a arddengys radd o sarhad a'r ffyrdd Duw na ddysgwylir oddiwrth ond y rhai ydynt hologiedig o galon neu rhy anwybodus i arwain eu hunain i ddedwyddwch, llawer llai addas i gael eu hymddiried ar eiddo ereill.

Oni bai yr hyn a welsom yn fynych yn mhlith y Saint ystyriwn fod yn gyfartal a chyhuddiad i'w cymhell i gadw y Gair Doethineb, heb son am yr anghenrheidrwydd o wneyd hyny. Ymddengys braidd yn anhygoel fod gwyr a gwragedd a ufyddhant i'r efengyl, a ymrwymant i ufyddhau i bob dadguddiadau, a phan lefara Duw wrthynt drwy lais doethineb, o'r braidd yn ei ystyried; o leiaf y mae yn anghysondeb, ac ni ddeil cywirdeb y fath broffes brawf y gwirionedd. Nid oes air, debygem, i'w gynnyg er dieuogi y fath drosedd o ewyllys Duw, er nad yw yn dyfod yn orchymynol; euogrwydd meddwn, o herwydd ysgrifenedig yw "Yr hwn a wybu feddwl ei Arglwydd ac nis gwnaeth a gurir a llawer o wialennodiau."

Wedi canfod yr anghenrheidrwydd o gadw y Gair Doethineb, y gofyniad nesaf yw—Mewn pa beth y mae yn gynnwysedig? neu, fel y gofynwyd ini, "Pa beth yw Gair Doethineb i'r Saint yn y wlad hon? Ai tê, coffi, cwrw, porter, whisky, &c., yw y diodydd poethion a waherddir, neu a all gwr neu wraig ddefnyddio y pethau hyny heb droseddu y Gair Doethineb? Nid yw cwestiwn fel hwn yn tarddu gymmaint o ddiffyg synwyr cyffredin yn mhob bod deallus i ateb yn foddhaol ei hunan, ag yw o herwydd y camwri a ddynoda ddysgeidiaeth y rhai oedd a'u gweithredoedd yn groes i hyny, a pha rai, pan y dysgwylid wrthynt am gyfarwyddiadau cywir, a roisant yr eglurhad a feddylient oreu i'w hesgusodi am droseddu ewyllys Duw, a boddio rhyw chwant a'u dygodd i gaethiwed. Nid oes braidd blentyn deuddeg mlwydd oed yn yr eglwys, a fedda Ysbryd Duw, ac a all ddarllen y Gair Doethineb heb iawn ddeall ei ystyr ai wir ddyben, nac heb ddeall pa fodd i gyfarwyddo ei fuchedd fel ag i deimlo yn hollol rydd a chymmeradwy ger bron Duw. Ni chredwn y dichon unrhyw Saint egwyddorol beidio cymmeradwyo y cynghorion a'r cyfarwyddiadau a gynnwysa, a bod yn abl i benderfynu beth yw ei ddyledswydd ei hun o barthed iddo, a thrwy ymddwyn yn ol y farn hono, ddyfod i wybod yn ddiammheuol iddo anrhydeddu y dadgudd-

iad a bod doethineb yn cael ei chyfiawnhau gan ei phlant ei hun.

Dywedodd yr Arglwydd fod y dadguddiad hwnw yn gyfaddas i bob rhai o'r Saint, yr hyn sydd ddywediad hollol afresymol os oes achos i'r ammheuaeth a ddangosa llawer am ystyr gwirioneddol y peth; arddengys y fath ammheuaeth os bodola, ddallineb nid bychan. Dywed yr Arglwydd nad doeth yn Ei olwg yw i'r Saint ddefnyddio diodydd cryfion, ar peth nesaf a glywwn yw,—" A gredwch chwi o ddifrif fod yr Arglwydd yn meddwl, whisky, cwrw, brandy, gin, porter, &c.?" oddiwrth wyr a gwragedd a honnant cryn gyfran o synwyr cyffredin, megys pe na welsent ac na chlywsent eu bod yn ddiodydd cryfion. Gellid gofyn gyda mwy o briodoldeb onid gwawdiaith oedd gofyn y fath gwestiwn, neu er dangos dirmyg ar air Duw. Os nad yw y Gair Doethineb yn cyfeirio at y pethau hyn, nid yw o nemawr ddefnydd yn ei gyssylltiadau ag arferiadau y Saint, ac ni pharai gymmaint syndod i ni pe clywem ryw un yn gofyn beth a feddylia os nad y pethau yna.

Etto, y rhai a ymarferant ag yfed tê,—brodyr a chwiorydd da a eisteddant uwchben cwpanaid boeth angerddol o dê fel pe bai un o brif ddanteithion daear, a rhyfeddant os yw y Gair Doethineb yn cyfeirio at dê a choffi pan y dywed, "nid yw diodydd poethion yn dda i'r corph nac i'r bol;" a phe gellid eu hargyhoeddi fod cwpanaid o dê poeth yn ddiod boeth pan ei hyfir yn boeth, penderfynant yn synwyrgall, adael iddo oeri tipyn, pan ar yr un pryd y mae ddigon cryf i gadw dyn anymarferol ag ef yn ddihun drwy y nos, megys y buom ni weithiau wedi cyd-ymffurfio a dymuniad ereill i'n hanghyfleustra ein hun. Yn wir, yn gymmaint nad oes anghen cyhyddwr ar gydwybod euog, gellid cael mil o resymau a chynnyg cynnifer esgusodion braidd er cadw yn fyw, os posibl hefyd, y gobaith trengiedig braidd o fod yn alluog i ddilyn yn mlaen yr ymarferiad o dê, coffi, whisky, rum, cwrw, a llawer o arferiadau ereill anfoesgar a niweidiol i'r cyfansoddiad ac i'r meddwl dynol. Ymgynefina llawer a'r arferiad yn lle ufyddhau i gymmelliadau doeth yr Ysbryd ynddynt, hyd oni serir eu cyd-wybodau rhag teimlad o gondemniad o herwydd ymchwantu yn y fath arferiadau llygredig.

Etto, ysgrifenwyd nad yw tobacco yn dda i ddyn eithr syn-

asom ni weithiau am i'r Arglwydd wneyd y fath gamsyniad, pan y gwelwn gynnifer o Saint a broffesant fod o dan arweiniad yr Ysbryd hwnw sydd yn arwain i bob gwirionedd yn glynu wrth y llysieuyn fel wrth fywyd, gan ei garu yn fwy nac y carant eiriau Duw. Diau fod y fath anghyssondeb arwynebol yn gofyn mwy o amddiffyniad nac a allwn ni ei roi, a chaniatawn i'r fath Saint amddiffyn eu hachos eu hunain, eithr nid heb eu rhybuddio, serch hyny, fod y dydd yn dyfod pan y gofynir iddynt gyssoni eu hymddygiadau a'r dadguddiad rhag grybwylledig.

Nid yw yn amser i'r Saint ymchwareu a dadguddiadau Duw megys y gwna llawer a'r Gair Doethineb, pryd y maent yn gweled yn feunyddiol y drygau dirif a achosir drwy yr ymarferiad a'r pethau a waherddir yngair Duw, ac y canfyddant y genllif o ddrygioni na ellir lluddias ei rhwysg nes bo y cenhedloedd wedi eu hanrheithio ganddynt a'u claddu yn y gyflafan. Dylent ymuniawni yn y fan a bod yn esiamplau i'r genedl sydd yn codi, er iddynt ymwrthod a gwâg arferiadau y Cenhedloedd a thyfu i fynu yn ddychryn i annuwioldeb. Delir y rhieni na wnant hyn yn atebol am bechodau eu plant, y rhai, amgen, â nerth mawr a yrasent yn ol y ffrwd o ddrygioni ag sydd yn cynhyrfu llidiawgrwydd yr Un Cyfiawn, ac yn enw Duw Israel sefydlasent gyfiawnder y nefoedd ar y ddaear. Dylai pob plentyn o oedran cyfaddas argraphu y Gair Doethineb ar ei gof, a chael ei ddysgu i'w ufyddhau; canys pe felly cynnorthwyai i ennill dylanwad ar eu rhieni i'w gadw yn hytrach na goddef y gwarth a ystyriai eu plant yn perthyn iddynt.

Gresynaf o bob gaethion yw y neb a gaethiwwyd gan ei chwantau cnawdol eu hunain, y rhai mae ganddynt allu, ac y bydd raid eu gorchfygu, cyn y mwynhant yr addewid yn y byd hwn na gogoniant y byd a ddaw. Gorphwysa cyfrifoldeb mawr ar rieni a feddant blant i'w hiawn ddysgu yn yr egwyddorion pwysig hyn. Dylanwad arosol a'r feddwl y plentyn yw esiampl ei rieni, a'r hyn a ffurfia brif nodweddau ei gymmeriad am ei oes, ond odid. Mor bwysig ynte yw, fod plant yn cael eu dwyn i fynu yn anarferiadol a'r perthau hyny ydynt mor dueddol i blannu hadau marwoldeb yn yr ieunctyd ag yw arferiadau y Cenhedloedd, pa rai a fyrhasant einioes dyn i annadliad braidd,

a'r hyn bethau a waherddir yn awr gan Dduw fel y byddo i'w blant gael byw. Mae o'r pwys mwyaf fod y genedl sydd yn codi yn cael eu harwain, megys cynnrycholwyr Duw—gwneuthurwyr Ei holl ewyllys yn mhlith dynion! eithr tra y parhao esiamplau rhieni yn groes i egwyddorion y nef, diffrwytha i raddau, ymdrechiadau yr Henuriaid. Dyry esiampl argraph effeithiol iawn a'r blant, a thra y bydd esiamplau felly o'u blaen, dihoena y byd yn mlaen mewn ffolineb, drygioni ac anwiredd, er gwaethaf ymdrechiadau Duw, angylion a dynion, hyd nes yr agora uffern i'w derbyn pan y trengant o flaen barnedigaethau Duw. Dylai yr addewid a ganlyn fod yn annogaeth ddigon cref i gymhell hen ac ieuanc i gadw y Gair Doethineb—"Ar holl Saint a gofiant i gadw a gwneuthur yr holl bethau hyn, gan rodio yn ufydd i'r gorchymynion a gant iechyd i'w bogail, mêr yn eu hesgyrn, ac a gant ddoethineb a thrysorau o wybodaeth, hyd y nod trysorau cuddiedig; rhedant ac ni flinant, rhodiant ac ni ddyffygiant; a myfi yr Arglwydd a roddaf iddynt addewid y bydd i angel y dinystrydd fyned ymaith heibio iddynt megys yr aeth heibio i blant Israel ac ni laddodd hwynt?

---

## ANNERCHIAD AT FUGEILIAID A LLYWYDDION.

Anwyl Frodyr.—Yn gymmaint y bod y cyfnod yn agoshau pan y trosglwyddir cyfrifon y Swyddfa hon i'n holynydd, crefwn eich sylw personol at oruchwylion pwysiccaf y Swyddfa a'r Eglwys yn gyffredinol.

Ni chynnorthwywyd ond ychydig a'r brif Drysorfâu yr Eglwys yn y chwarter mynedol, yn enwedigol Offrwm y Deml a'r Gymdeithas Ymfudol Barhaus, yr hyn ddiffygiadau a esgusodir i raddau o herwydd ei fod yn dymor yr Ymfudiad, yr hyn sydd yn galw am ymdrechiadau neillduol at y gwaith hwnw. Y chwarter presennol yw y tymor yn yr hwn y dylai Llywyddion a swyddogion yn gyffredinol ymfywiogi o'r newydd i weithredu yr hyn bethau a ollyngwyd dros gof braidd am ennyd gan lawer o'r Saint, a diau y gofynir cryn ymdrech gan yr oll er galluogi y Cynnadleddau i anfon i mewn eu cyfraniadau hanner blynyddol mewn modd clodadwy iddynt eu hunain ac yn gyferbyniol a'n dysgwyliadau ninnau. Yr ydym yn hynod awyddus ar y matter

hwn, gan ein bod yn dymuno na byddo yr un o'r Trysorfau yn llai a'r ddiwedd ein goruchwyliaeth, yr hon a ddysgwylir i derfynu gyda y chwarter hwn.

Ymhysbysodd y Llywyddion hyny a ddechreuasant a'r eu galwedigaethau yn ddiweddar eu hunain yngofynion y cylchodd hyny ond odid, yn enwedig ynghylch y swmiau a erfynir oddiar eu Cynnadleddau yn anrheg i Deml yr Arglwydd, yr hon sydd eisoes yn cael ei hadeiladu gan y Saint yn Seion. Hyderwn na ddiffygia neb anfon hanner eu swm blynyddol cyn y terfyna yr hanner blwyddyn ynghyd ag anrheg dlws i'r Gymdeithas Ymfudol, yr hon sydd iddi gymmeradwyaeth gyffredinol y Saint.

Gwelir fod y gofres ddiweddaf a gyhoeddwyd o ddyled Cynnadleddau am lyfrau a'r *Stars*, yn dangos cryn gynnyddiad ar yr un flaenorol, ac yn yr amser presennol yn neillduol nid yw y taliadau yn ddigonol i gynnal y dosparth cyhoeddiadol megys ag y dymunir. Gofynwn i'r matter hwn y cyfran o gynnorthwy a deilynga, ac os cyflawna y Saint eu dyledswyddau personol, a'r dyledwyr dalu i'n dosparthwyr eu ol ddyledion, ni orfodir ni i drosglwyddo i'n Olynydd gofres mor fawr o ddyledion a'r hon a ymddanghosodd yn y chwarter presennol.

Taer erfyniwn gyd-weithrediad yr oll o blaid y matterion pwysig hyn y gweddill o'r chwarter hwn fel y galluogir ni ar ddechreu mis Gorphenaf, i drosglwyddo busnes yr Eglwys i'n Olynydd o dan amgylchiadau mwy gwenog.

Doeth fyddai i'n Trysorwyr a'r Dosparthwyr i sylwi ar ein cyfarwyddiadau a gyhoeddwyd yn y *Star*, Cyf. xiv. tud 474 am ddealltwriaeth gyffredinol, a boed foddlon ganddynt edrych ar fod y taliadau at y gwahanol Gymdeithasau a'r Llyfrau am y chwarter hwn yn ein cyrhaedd ni *ar neu cyn y* 30 *o fis Mehefin dyfodol.* Mae hyn o bwys o herwydd na ellir derbyn unrhyw beth i'n llyfrau ar ol yr amseryddiad hwnw.

S. W. Richards.

Llynlleifiad Mai 5, 1854.

---

DALIER SYLW!!

Ychwanegwn ninnau hysbysu ein dymuniad fod Llywyddion y Cynnadleddau Cymreig yn dwyn y matterion cynnwysedig yn Annerchiad ein Llywydd uchod ger bron Saint eu gofal, ac yn defnyddio y cynlluniau a welo eu doethineb yn fwyaf effeithiol i

ddwyn oddiamgylch ganlyniadau a fo yn ganmoladwy iddynt hwy a lleisiol i'r achos dwyfol ag y mae eu braint a'u dyledswydd i arolygu dosparthiadau pwysig a chyfrifol o hono, gydag ystyriaeth ddyladwy o'r cyfrifoldeb hwnw a ddysgwyliant roddi i'w Awdwr ac i'r frawdlys a'u dalia hwynt yn atebol.

Mae manylrwydd a threfnusrwydd yn ganmoladwy os nad hanfodol i lwyddiant mewn cyfundrefn berffaith, ac er ennill na chadw yr ymddiried dyladwy rhwng arweinyddion ei gwahanol gylchoedd; tra, o'r ochr arall y mae esgeulusdod yn y pethau lleiaf yn bradychu ymddiried, yn arwain i esgeulusdod gyda phethau pwysiccach, yr hyn a bara ddyryswch cyferbyniol i'w raddau, os nad yw yn dynodi gwrthryfel calon a'i gwnelo: o leiaf dangnosa sarhad ar yr Offeiriadaeth a'i gorchymyna, awdwr a sylfaenwr yr hon yw Mab Duw. I bawb a deilynga gael ymddiriediad unrhyw lywyddiaeth mewn teyrnas a ofyna ufydd-dod trwyadl i'w holl ofyniadau, ac i'r doethion a deilyngant gadw allweddau iachawdwriaeth plant Duw, hyderwn fod yr *awgrymiad* prydlon hwn yn ddigonol i sicrhau eu cyd-weithrediad diffuant a'r uchod, yr hyn a brofir wrth faintioli ac amseryddiad dyfodiad y casgliadau uchod i'n llaw. I'r neb a esgeulusa anfon ei gynnrychioliad hanner blynnyddol o'i Gynnadledd—ei gyfraniadau at y Cymdeithasau rhag grybwylledig, a'r llyfrau a cenwau y cangenau a'r Trysorwyr yma mewn pryd i ni eu hanfon oddiyma *ar yr* 28 *o'r mis nesaf, sef, Mehefin* ! tua Llynlleifiad, bydd raid cyfaddef fod ein apel yn aneffeithiol; eithr credwn well, ïe, ceiswn gredu mai un peth fydd ceisio a chael—gofyn a chael atebiad, ac mai ein pleser oll fydd gweled llygad yn llygad tra Ysbryd y goleuni a'n goleuo.

---

## PENNILL.

Chwi gedyrn Israel dewch i'r maes,
Am danoch gwisgwch arfau'r nef;
Mae'r gelyn du a'i fyddin gas
Am ddifa'r Saint mewn gwlad a thref:
Dau-finiog gleddyf Ysbryd Duw,
Ac helm yr iachawdwriaeth fawr,
Fo gyda'r Saint—rhai garant fyw,
A'r gelyn syrth o'i sedd i'r llawr.

*Tre Sior.* T. Harries.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

DYDD SADWRN, MAI 20, 1854.

Y GAIR DOETHINEB.—Diammheu y caiff ein darllenwyr foddlonrwydd mawr wrth ddarllen sylwadau ein Llywydd, yn terfynu yn y rhifyn hwn, ar y testun yma, ac yr ymdrecha pawb ymflaenori i weithredu pob peth ar yr egwyddor a ddangosa. *Ewyllysgarwch* a ddylai fod yr achos cymhelliadol i gyflawni ein holl ddyledswyddau crefyddol yn gymmaint a bod ein lleshad ein hunain yn dibynu ar wneyd yr oll, tra, y rhai a ufyddhant rhag ofn cosp am beidio a gwneyd, neu a gymhellir gan unrhyw egwyddor heblaw ewyllysgarwch, a gollant y wobr ogoneddusaf, ac yn ei lle a gant gyflog gwas anfuddiol.

Craffed y swyddwyr doniol a selog sydd wrth y cannoedd yn y Gynnadledd hon, tra y mae miloedd o'n cyd-genedl mewn parthau ereill heb glywed yr efengyl,—mai y *Volunteers* a alwa Duw i'r dewr-waith o ennill byd llawn o berlau anfarwol o afael y teyrnfradwr, i ryddid a gogoniant. Pa ryfedd hyny, gan mai *Volunteer* oedd y Brenin ei hunan,—pryd y gofynodd ein Tad ni oll yn y cynghor boreu, "Pwy a aiff?" Efe a atebodd gyntaf, "*Wele fi, anfon fi:*" a phwy na ddywed nad gwirfoddiaid oeddym oll cyn dyfod i'r cylch hwn, mai ein hymrwymiadau yno a oruwchlywydda ein tynghed i gael y fraint o ddyfod i'r cyfle i'w gyflawni yma; os felly gwylier, nid rhag gwobr y gwas anfuddiol yn unig, ond hefyd rhag ein ceir yn y dydd sydd yn dyfod yn dorwyr ammodau henach na'r byd hwn, ac y bydd y canlyniadau o hyny yn parhau yn hwy nag y parha y ddaear, er mwyn greuan llygredig yr hon eu torir.

Nid yw Duw yn oedi gwneuthur unrhyw ddaioni i ni hyd nes eu gorchymynir —nid oes a'i gorchymyna Ef; felly yr oll a gyrhaeddant gylch goruchel y Duwiau a lywodraethir gan yr un egwyddor ddwyfol, ac fel Efe " a *chwiliant* am le i drugarhau" wrth druenusion; a chan hyny onid yw yn llawn bryd i blant Duw, y rhai a ddysgwyliant gynnyddu yn eu tebygolrwydd

iddo Ef a'u Brawd hynaf, nes dyfod yn un ynddynt hwy, ymroddi yn *wirfoddiaid* i bob daioni, yn lle esgusodi eu hunain rhag gwneuthur yr hun a welant yn eu gallu o herwydd na orchymynwyd iddynt wneyd y cyfryw beth neu bethau?

Amlygiad o ewyllys yr Arglwydd a ddylai fod yn ddigonol gymhelliad i bob peth, yna ni orfodid gorchymyn o'i enau; a'r canlyniadau o'r fath ewyllysgarwch a fyddai gwobrwyon na ddychymygodd y galon am eu gogoneddusrwydd. O herwydd i Israel ddiystyru yr egwyddor auraidd hon "yr ychwanegwyd y ddeddf o herwydd troseddau," ebe Paul. Ysgolfeistr i'n dwyn ninnau yn ufyddion i'r un egwyddor o fod yn wirfoddiaid fel Crist, yw yr holl orchymynion a roddir. Ein parodrwydd a wnelo orchymynion yn afreidiol i ninnau, a mawr a fydd ein gwobr.

---

NEWYDDION CARTREFOL,—Yn y Gynnadledd hon ydynt yn gwellhau a lliosogi yn raddol, amryw fedyddiadau yn neillduol yn y ddosran ddwyreiniol o honi, undeb a chariad yr efengyl yn cynnyddu, y doniau yn lliosogi ac amryw o'r swyddogion yn son am wirfoddoli i'r achos.

MYNWY.—Y mae cynnyddiant cyflymach yma rhaid cyfaddef, tuag 20 wedi cael eu bedyddio er y Gymmanfa, ac nid rhyfedd hyn pan ystyriom mai oddiyno y ceir y mwyafrif o wirfoddiaid i'r winllan o lawer; gwiria yr Arglwydd air eu Llywydd yn hyn, sef, "pe yr elai eu hanner o'r ffordd y bendithiai Duw lafur y gweddill yn fwy-fwyfyth." Pawb i'w le ei hun a fo ein harwyddair ni oll.

Cynnrychioliad yn y Gymmanfa ddiweddaf (newydd ddyfod i'n llaw) oedd fel y canlyn. Hend. 86, Off. 25, Ath. 30, Dia. 21, Cyfanrif 568, Bed. 57. Cylchrediad y Cyhoeddiadau yn cynnyddu fel nad oes ond ychydig yn aros a'r law, sêl adnewyddol am ddosparthu traethodau, ac amryw wirfoddiaid ar gychwyn.

PENFRO OGLEDDOL.—Ceir gwrandawiad astud gan y byd a sêl frwdfrydig yn y Saint, yn cael eu henyn fwy-fwy gan Ysbryd Duw yn eu cynnulliadau drwy y doniau ysbrydol, a galwa y Llywydd yn daer ac yn uchel a'r fedelwyr Morganwg i ddyfod yno i'w gynnorthwyo, fel y geilw hen ffarmwr mewn gwewyr pan welo ystorom yn dyfod ac yn dihidlo ei holl gynheuaf addfed—unig obaith ei fywyd, i'r ddaear o anghen cyn-

heuafwyr. Cysurwn ef drwy hysbysu fod tri neu bedwar o ragredegwyr y fyddin o fedelwyr a ddaw, ar y ffordd yno yn awr a'u crymanau yn loewon ac awychus, ac ereill yn hogi.

*Appwyntiad.*—Dealler fod Dafydd Williams wedi ei ddewis yn mhrif Gynghor y Gynnadledd hon i fod yn Henuriad teithiol, a gweddiwn ar i'r Arglwydd ei fendithio ef a'r cymhwysderau gofynol i lanw yr uchel a phwysig gylch hwn—i roi ynghalonau a galluoedd y rhai a wasanaetha gynhaliaeth iddo ef a'i deulu, a mawr fendithio y rhai a'i bendithiant ac a ufyddhant i'w gynghorion. Llafuria yn bennaf yn y dosparthiadau dwyreiniol yn awr.

*Gwirfoddiaid.*—Mae un o'r hen wroniaid a ennillasant y brwydrau enwog yn Sir Fynwy er's talm, wedi chwifio ei faniar wirfoddol i'r awel etto, sef, Richard Williams, Llywydd Cangen Rhymni; ac y mae efe a thri o frodyr ffyddlon ereill, wedi rhoddi eu bryd yn ddidroi yn ol ar osod banerau teyrnas y Brenin Iesu i chwifio yn fuddygoliaethus a'r gestyll uchaf Llanidloes a'r cylchoedd a'r fyrder. Engyl nef o'u plaid a fo nes hollol lwyddo.

---

## LLYTHYR O DIRIOGAETH UTAH,

### AT MR. ISAAC JONES, CAERFYRDDIN, ODDIWRTH EI FAB.

*Dinas Ogden, Rhagfyr* 18, 1854.

Anwyl Riaint,—Derbyniais eich llythyr caredig, dyddiedig Medi 23, ar y 14 o Ragfyr, a'i gynnwysiad a barodd i'm calon i lanw gan lawenydd wrth glywed eich hynt, ac eich bod mewn iechyd.

Yr ydym yma mewn cyflawnder o bob peth ag sydd yn dda ar les ein cyrff a'n hysbrydoedd; dyma'r fan lle yr ydym yn cael clywed ein Llywydd Brigham, y Deuddeg, ac awdurdodau yr Eglwys,—y fan lle y cawn ein dyrchafu yn nheyrnas Dduw os y byddwn yn ffyddlon. Yr ydym ni fel teulu yn mwynhau iechyd da, ac mewn amgylchiadau cysurus, ac yn byw yn Ogden Fort, yr hwn sydd oddeutu 50 milltir yn ogleddol o Ddinas y Llyn Halen Fawr. Yr wyf yn gweithio wrth fy nghrefft, yr hon yw y gelfyddyd oreu yn y Dyffryn; medraf ennill deg swllt yn y dydd. Yr wyf yn byw yn nghanol yr Americaniaid, ac nid oes yr un Cymro arall yn y ddinas hon.

Y mae Henry a'i dad, Capt. Thomas a Martha, William a Thomas Treharn a'i wraig, Abednego Jones, John Thomas o Cwmaman, David Williams, Gorslâs, a'i wraig, ac amryw Gymry ereill yn byw yn Box Elder, 16 milltir i'r gogledd o'r lle hwn. Y maent oll yn cofio atoch. Y mae Sarah Richards a Charlotte yn byw yn Ninas y Llyn Halen, ac y mae Sarah yn ennill 6 swllt yr wythnos a'i bwyd. Yr wyf wedi cymmeryd cyfran o dir (*lot*) i chwi yn y ddinas hon, i adeiladu tŷ, ac amgau gardd harddwych o'i gylch, lle y gellwch fyw yn gysurus heb neb i'ch niweidio. Yr wyf yn bwriadu adeiladu tŷ i chwi erbyn y dewch yma. Yr wyf yn meddwl am danoch yn barhaus, ac am y caethiwed yr ydych ynddo, ac yn gweddio am i'r Arglwydd eich gwaredu o'r caethiwed, a dyfod i'r fan lle mae rhyddid cyffredinol yn teyrnasu. Pan y byddwch yn dyfod, dewch a chymmaint o arfau y gwŷddd ynghyd a'r holl bethau ereill ag sydd yn perthyn i'ch crefft. Fe fyddai yn well i chwi adael pethau ereill ar ol, fel y galloch ddod ag ychwaneg o'ch *tools*.

Y mae ein tŷ yn llawn o waith heddyw, yr wyf wedi llogi gwŷdd a'r holl arfau perthynol, y tŷ a'r cwbl, am bedwar swllt yr wythnos, hyd oni chaf gyfle i adeiladu tŷ i'm hunan. Dewch a llyfrau Hymnau hefyd gyda chwi. Y mae Eliza Lloyd yn iach, ac yn anfon ei chofio at ei mam a Mary, Henry a'r teulu, D. Michael, Margaret, Mary Jane a'r teulu, Mrs. Lewis a'r cyfeillion oll. Dywedwch wrth bawb am wneuthur brys i ddyfod yma.

Eich caredig fab,

DAVID JONES.

---

## IACHAD DRWY YR EFENGYL.

*New-market, Ebrill*, 28, 1854.

MR. GOL.,—Yn y rhifyn 13eg o'r UDGORN, gwelais hanes am allu Duw yn cael ei amlygu trwy weinyddu yr ordinhad a osododd Efe, sef, eneinnio ag olew ac arddodiad dwylaw yr Henuriaid, gan fod eich cyhoeddiad yn agored i roddi hanes y pethau mae Duw yn ei wneyd trwy ei weision yn y dyddiau diweddaf hyn, achubaf y cyfleusdra hwn i yru i chwi yr hanes canlynol:—

Yr oedd un o'r enw Jane, gwraig Edward Williams o Blwyf Llanasa, swydd Fflint, i'r hon y ganwyd plentyn oddeutu tri mis yn ol. Nid oedd ganddi nemawr laeth yn ei bronau er cynnal-

iaeth ei phlentyn, ac yr oedd hyn yn peri iddi gryn ofid a thrallod nid bychan, trwy ei bod yn gorfod codi yn y nos i'w borthi; er hyny nid oedd y plentyn yn cynnyddu ond ychydig iawn, ac annogwyd hi i geisio olew i'w gyssegru i'r dyben o weinyddu iddi, sef arddodiad dwylaw yr Henuriaid, a gweddi y ffydd, yr hyn a wnaeth yn ddioed. Derbyniodd y fendith, sef cael digonedd o laeth yn ei bronau i feithrin ei phlentyn, nes y mae yn dyfod yn mlaen yn rhagorol o dda, a'r fam yn moli enw yr Arglwydd, am fod yr arwyddion yn canlyn y credinwyr yn y dyddiau hyn, ac nid yn y dyddiau gynt yn unig fel y dywed doethion yr oes hon. Mae gwr y wraig yn dyst o hyn, a'r Henuriaid canlynol oedd yn bresennol pan yn gweinyddu, sef, Hugh Evans, Robert Parry, Joseph Jones, John Parry, a William Jones.

Eich brawd yn yr efengyl,

HUGH EVANS.

---

## GOFYNIAD AC ATEBIAD.

MR. GOL.,—A ydyw Henuriad sydd yn esgeuluso darllen yr UDGORN a'r *Star* yn addas i lywyddu Cynnadledd, neu a all rhyw esgus fod yn ddigonol dros beidio, ond yn unig darllen un o bob chwech neu saith?—M. P.

---

*Atebwn,*—na wyddom ni, ac nad allwn ddyfeisio pa esgus a ddichon gyfiawnhau un Llywydd Cynnadledd, Cangen, Dosparth, na theulu, nac esgusodi un aelod a beidia ddarllen a *gwneyd* yn ol pob rhifyn, a phob peth a ddywedir am wneyd yn mhob rhifyn o'r UDGORN a'r *Star*. Os nad yw pob cynghor ynddynt yn deilwng o ufydd-dod, nid yw yn werth ei ysgrifenu, ei argraffu a'i brynu; ac os felly, argyhoedder ni o hyny, a da iawn a fyddai genym gael, drwy hyny, ein rhyddhau oddiwrth orchwyl pwysig, costus, a mwy trafferthus nag y gallai y ceiniogau a ddaw oddiwrtho, *pe deuent* i logell ei Olygydd, ein temtio i'w wneyd.

Cyfryngau eglwysig yw y ddau gyhoeddiad hyn, at wasanaeth a than arolygyddiaeth y rhai a osododd Duw i gyfarwyddo ei blant hyd lwybrau y gwirionedd tua bywyd; a chan ein bod wedi ymrwymo i fyw yn ol pob gair *a ddaw* allan o enau yr Arglwydd drwy ei weision, a chan mai y ffordd hyn y daw eu geiriau hwy i ni; canys ni allant fod yn hollbresennol, gweler mai

diystyru, a gwrthod eu geiriau hwy a geiriau yr Hwn a'u danfonodd, yw peidio a darllen y cyhoeddiadau hyn. Ond fod *Llywydd* mewn unrhyw gylch, yn enwedig Llywydd Cynnadledd, yn esgeuluso darllen yr UDGORN, yw bod yn analluog i hyfforddi Saint ei ofal yn ol ein cynghorion ni; ac mewn gair ni allwn ddeall fod hyny lai nag esgeulusdod mawr, os nad yn ddirmyg arnom ninnau, ac os parha dichon y gorfodir ni i brofi ei fod yn wrthryfel annyoddefol!

---

## CYMMANFA CAERFYRDDIN.

ANWYL FRAWD CAPT. D. JONES,—Ar ddydd Sul, y 30ain o'r mis diweddaf, cynnaliwyd Cymmanfa gan y Saint yn Nghaerfyrddin, lle y cyfarfu llawer iawn o swyddogion a Saint yn nghyd, pryd y cafwyd ar ddeall fod y Gymmanfa hon mewn sefyllfa dda iawn. Hefyd lle y penderfynwyd yn unfrydol ar ein bod yn un ag oll i barhau i ddal i fyny awdurdodau yr eglwys, ynghyd a'r holl rai sydd yn llywyddu drosom. Cafwyd ar ddeall hefyd fod Mormoniaeth yn myned rhag ei blaen, ac ar gynnydd trwy y Gynnadledd, a bod y swyddogion a'r Saint yn mwynhau Ysbryd Duw yn nerthol iawn; ac y mae golwg dda iawn hefyd am gael cynhauaf toreithiog i mewn i'r eglwys yr hâf dyfodol. Cafwyd pregethau rhagorol y prydnawn a'r hwyr gan wahanol swyddogion, sef, Dewi Elfed Jones, Robert Parry, John Evans o Sir Aberteifi, David Evans o Llanymddyfri, David Davies o Gynnadledd Llanelli, a James Josiah Phillips, heblaw gan ein hanwyl Lywyddion Thomas Jeremy, Daniel Daniels, a Llywydd y Gynnadledd, sef Thomas Jones. Ac yr oedd dylanwad rhyfeddol o dda yn gydfynedol a'u haddysgiadau oll.

Penderfynwyd fod Cymmanfa etto i gael ei chynnal yn St. Claers ar y 14eg o'r mis hwn, pryd y dysgwylir Dewi Elfed Jones ac amryw ereill o Gymmafa Llanelli, heblaw swyddogion y Gynnadledd hon fod yno ar yr achlysur. Ac ar y Sul canlynol i hyny bydd Cymmanfa i gael ei chynnal yn Llanymddyfri, pryd y dysgwylir i Henuriaid y ddwy Gynnadledd i gyd-gyfarfod yno. Yr ydym wedi penderfynu ei gosod yn un daenfa rwydau o ynys y tair Sir, ger Castellnewydd yn Emlyn, i Ystrad ffun, lle y mae y tair Sir yn ymgysanu ynghyd, sef Caerfyrddin, Brycheiniog, ag Aberteifi. Hefyd yr ydym yn penderfynu myned o'r cyfarfod

hwnw i Cilycwm nos Lun canlynol, i gynnal cyfarfod pregethu. Bydd swn magnelau teyrnas yr Iesu yn swnio nes dychrynu teyrnas y diafol, fel y bydd i'r rhai hyny a'u clywo benderfynu lystio dan faniar yr Iesu, a thrwy hyny dderbyn tystiolaeth eu bod yn feibion ac yn ferched i Dduw, Hefyd, crefwn arnoch am anfon cymhorth atom i'r Gynnadledd hon, am fod eisieu llawer *iawn*, IAWN, i weithio yma. Ein serch atoch yn fawr.

Ydym yr eiddoch,

THOMAS JONES, *Llywydd*,
ISAAC JONES, *Ysgrifenydd*.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH J. DAVIES, MEIRIONYDD.

ANWYL LYWYDD JONES,— Idd eich hysbysu o'n sefyllfa bresennol yn y Gynnadledd hon, ysgrifenaf y llinellau canlynol :—

Mae y mwyafrif o'r swyddogion a'r Saint fel fy hunan yn penderfynu, yn ol eich cymhelliadau taerion drwy yr UDGORN, i ddefnyddio eu holl nerth a'u dylanwad i achub eneidiau i fywyd tragywyddol. Teimlir Ysbryd Duw yn helaeth, ynghyd a'i ddoniau melysaidd, agos yn mhob cangen o'r Gynnadledd ; ac hyderwn eu cael yn helaethach bob yn ychydig.

Clywwyd ein lleferydd yn pregethu allan mewn amryw leoedd eleni cyn canu o'r Gôg, a bwriadwn *dunio* yn uchel ein cân pan y byddo ei thymmor hi wedi myned heibio. Yr ydym yn ymdrechu gwneyd i bob trigianydd o fewn ein cyffiniau glywed ein lleferydd rhybuddiol ; ond er ein gofid, mae yn rhaid cyfaddef, nas gallwn gwblhau hyn i'r drydedd os nad y bedwaredd ran o honynt, o herwydd anamldra y cantorion. Y mae genym gymmaint o le i wasgaru drwy ddwy Sir, a rhan o'r trydydd, fel y gellid gosod dwsin neu ddau rhwng pob dau o honom, ac etto gwnai y pellder rhyngddynt herrio y naill i glywed lleferydd y llall.

Pe bai rhai brodyr ffyddlon yn aberthu eu hamser i wasanaeth yr Arglwydd am gyfnod, byddai yn hawdd i amryw o honynt gael gwaith yn y wlad hon yn bresennol; o herwydd fel y clywsoch, ond odid, mai AUR ydyw y gwrthddrych y prysur chwilia pawb am dano ; ac y maent wedi cael, feddyliwyf, amryw weithfaoedd gwerthfawr ; a thrwy hyny, a phethau ereill, mae prinder gweithwyr yn ol a glywaf yn gyffredin.

Nid ydym heb deimlo eich crybwylliadau yn yr UDGORN am

arian y Llyfrau hefyd. Crefwn amynedd am ychydig bach, ac ni a ymdrechwn anfon swm o honynt i chwi; ond gwell hwyr na hwyrach, ni a frysiwn ati o hyn allan.

Mae y brawd David Roberts a'i deulu yn iach ac yn cofio atoch; mae efe wedi dechreu ysgrifenu llythyr atoch, ac ond odid na chewch ef ryw dro. Mae Jason Thomas a'i deulu yn debyg fel eu gwelsoch, ac yn cofio atoch yn garedig.

Dysgwyliaf fedyddio rhai cyn hir, yn ol yr argoelion presennol mewn lle neu ddau.

Ydwyf eich brawd yn Nghrist,

*Ffestiniog, Mai* 4. JOHN DAVIES.

---

## YR "HEN GREFYDD NEWYDD!!!"

"'RHEN GREFYDD NEWYDD" ddaw cyn hir,
Drwy Gymru oll—boed iddi barch;
Hi ddengys DEYRNAS DDUW yn bur,
*Fel y gwnaeth gynt*, trwy ddwyfol arch:—
'Nawr Saint, rho'wn glod, a chanwn beth,
Am fod ein Duw yn rhoddi 'r fraint,
I ni gael taenu hon heb feth,—
Hi ddwg, *fel gynt*, ryw lu yn Saint.

HEN SANT O DRE-SIOR.

---

DERBYNIADAU am lyfrau o Ebrill 25 hyd yn awr,—yr un swm ag a welir a'r glawr y rhifyn blaenorol yn gymhwys, sef dim 'digon i brynu yr hadau a fwyta yr *aderyn bach* a gana uwch ein pen? a raid i ni ei ollwng i chwilio am ei damaid.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street*, *Merthyr-Tydfil*.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

#### UDGORN SEION,

NEU

#### Seren y Saint.

RHIF. 20.] MAI 27, 1854. [CYF. VII.

## DYFYNIAD O'R "HEN GREFYDD NEWYDD."

DWEYD bod yr arwyddion neu y doniau wedi cael eu rhoddi er sefydlu Cristionogaeth, sydd gyfystyr, mewn ffaith, â dweyd fod Cristionogaeth wedi ei rhoddi gynt er ei sefydlu ei hun; ac haeru nad oes anghen yr unrhyw yn awr yw dweyd nad oes anghen y Gristionogaeth hono yn awr, yr hyn ni fyddai fawr gwell nag anffyddiaeth o dan gochl, a chyflawniad llythyrenol o'r brophwydoliaeth a ddywed,—" Daw yn y dyddiau diweddaf watwarwyr, a'u serch arnynt eu hunain," y " pentyrant iddynt *eu hunain* athrawon [anysbrydoledig, yn gwadu anghen yr arwyddion cyntefig,] a chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei GRYM hi." Dynion analluog iawn i sefydlu gwir Gristionogaeth fyddai y cyfryw; ac mewn gwirionedd, ni all neb ond Duw sefydlu y Gristionogaeth wirioneddol, o herwydd bydd ei sefydlogrwydd hi yn gyfartal i'r sicrwydd a ddyry Efe, drwy yr arwyddion, canlynol i'w eu hufydd-dod i'w air drwy ei weision. Eu cristionogaeth eu hunain ac nid ei Gristionogaeth Ef a sefydlir hebddynt.

Digon bellach, rhag meithder gormodol, er profi yr afresymoldeb o ddweyd fod yr arwyddion yn rheidiol er sefydlu Cristionogaeth gynt, a bod yr un arwyddion yn afreidiol er sefydlu yr un Gristionogaeth yn awr. dywedir yn nesaf, os sefydlu cyfyndrefn ar y ddaear, sef ffurf heb ei grym a feddylir wrth sefydlu Cristionogaeth, dylai y rhai a haerant hyny brofi eu bod hwy yn cyd-ymffurfio â'r ffurf eglwysig hono a geir yn y

Testament Newydd ynte, cyn y gallant honni fod Cristionogaeth wedi ei sefydlu. A chan na all dwy ffurf groes i'w gilydd fod yn gywir, yna y mae yr oll o'r gwahanol ffurfiau a sectau a honnant fod yn Gristionogol, yn condemnio yr holl rai ereill ond eu hunain o fod yn anghristionogol, sef y fod Cristionogaeth heb gael ei sefydlu yn eu plith; yr hyn, yn ol eu cyfaddefiad eu hunain, o ddyben arwyddion er ei sefydlu, a brawf y dylent ymdrechu cael yr arwyddion er ei sefydlu yn mhlith y lleill, ac yn eu condemnio eu hunain am beidio eu ceisio i'r dyben hyny.

Etto, os sefydlu y grediniaeth o farwolaeth ac adgyfodiad Crist a feddylir yn sefydlu Cristionogaeth, a bod hyny wedi ei brofi gynt, gofynir paham nad oes yr un anghen i gael dynion i gredu hyny yn awr; ac os felly, paham na ddylent gael yr un arwyddion? Ebe yr anffyddiwr, gyda gradd o gyssondeb, yn ngwyneb yr haeriad mai dyna ddyben yr arwyddion; a dylai y rhai a ddywedant mai dyben yr arwyddion hyny, oedd er argyhoeddi y byd, wneyd gwyrthiau, neu beidio proffesu cymaint o sêl ac awydd i gael gan y byd gredu ynddo, cyn y byddant gysson â'u hunain. Eithr er fod wedi ymresymu fel hyn â "Christionogion," ar sail eu haeriadau eu hunain, o ddybenion yr "arwyddion," etto ni chaed argyhoeddiad mai dyna oedd *gwir* ddyben yr arwyddion na gwyrthiau Crist na'i olynwyr, onide, rhaid caniatâu hefyd iddynt gael eu siomi, yn gymmaint mai eu gwrthod a'u herlid a gaffent fwy fwy, yn gyferbyniol i fawredd a chyhoeddusrwydd yr arwyddion a welid, hyd nes i'n Harglwydd tirion waeddi unwaith ynghanol cawod o gerrig ei labyddwyr duwiolfrydig, "Am ba un o'r gweithredoedd nerthol a wnaethym yr ydych yn fy llabyddio i?" Hefyd, pan yr adgyfododd Laszarus o'r bedd, cynddeiriogodd hyny hwynt nes y gorfuwyd y ddau i ffoi am eu heinioes: rhyfedd fel y siomwyd yr Iesu os dysgwyliai i hyny argyhoeddi yr edrychwyr, o'i ddwyfoldeb! Ac er fod rhai wedi credu wrth weled yr arwyddion weithiau, ni phrofa hyny mai drwy ddangos arwyddion o flaen eu llygaid yw y *ffordd* a drefnodd Duw i argyhoeddi y byd. Profwyd eisioes mai i GANLYN y rhai a gredasent dystiolaeth gweision Crist eisoes, ac nid i anghredinwyr er eu dwyn i gredu, yr addawwyd yr arwyddion dwyfol. Mae ffydd yn *dyfod* trwy *glywed*, nid trwy weled, ond clywed gair Duw o eneuau ei weision; a *gair Duw* i bob oes a phobl yw y genadwri a anfona Efe atynt drwy ei weision, ufydd-dod i'r hon sydd anhebgorol, cyn y mae iddynt hawl i weled na mwynhau yr *arwyddion* hyny eu hunain.

Cynnysgaeth credinwyr ac nid pethau i anghredinwyr yw y doniau ysbrydol a'r gallu Duw; -*tu fewn* ac nid tu allan i'r eglwys y maent i'w cael. A thra yr ymddengys yn rhesymol, i'r rhai a ddywedant mai dyben gwyrthiau oedd sefydlu Cristionogaeth, wneyd gwyrthiau eu hunain er ei sefydlu; etto, hollol afresymol gofyn i ereill a gredant yn groes i hyny, am yr un

peth. Y rhai a gredant y Gristionogaeth a ddarlunia y traethawd hwn ni phroffesant allu gwyrthiol eu hunain; a chan i Dduw eu danfon i *bregethu* y genadwri a roddes iddynt, a'u bod hwythau, fel Paul gynt, yn gwybod mai "trwy ffolineb *pregethu* [nid gwneyd gwyrthiau] y gwel Duw yn dda gadw y rhai sydd yn credu" eu *geiriau*, ac nid eu gwyrthiau, yna afresymol yw gwrthod eu *geiriau* a gofyn am weled gwyrthiau cyn y credir eu cenadwri.

Yr wrthddadl olaf y caniatâ cyffiniau y traethawd bach hwn i sylwi arni, a'r un fwyaf poblogaidd, debygir, a gynnygir yn erbyn y grefydd hon yw,—fod yr holl ddadguddiadau ag a ellir ystyried yn anghenrheidiol er iachawdwriaeth dyn wedi eu rhoddi eisoes, eu bod yn gynnwysedig yn y Beibl; ac y fod yr oes hon mor oleu fel y mae ychwaneg yn afreidiol i ni.

Ni ellir dweyd ond ychydig yma, o'r llawer o wrthbrofion a feddir, i'r haeriad yma; yn unig sylwir mai drwy roddi dadguddiadau newyddion a pharhaus y sefydlodd ac yr arweiniodd Duw ei Eglwys ar y ddaear yn mhob oes a gwlad o honi,—nid oes o fewn yr ysgrythyrau air o son am Eglwys i Dduw yn gwadu yr anghen o, nac heb fwynhau dadguddiadau newyddion a pharhaus iddynt eu hunain; ac o ganlyniad priodol y gellid ystyried bodoldeb Eglwys i Dduw, heb iddi gael dadguddiadau newyddion, yn *wyrth* na cheir hanes ei chyffelyb gan Dduw yn holl oesau mynedol y byd. Dywed holl "Gristionogion" fel y galwant eu hunain, fod y Duw a roddai, a'r Iesu o addawai, ynghyd a'r Ysbryd Glân â gyflwynai ddadguddiadau parhaus i'w Eglwys yn yr oesoedd cyntefig yn fyw yn awr, ac yn anghyfnewidiol, ac y fod cynnifer o angylion yn y nef yn awr ac a fu erioed, eu bod mor awyddus i achub dynion yn awr ac erioed; ac onid yw y grediniaeth yna yn gorfodi, yngwyneb cyssondeb, i gredu eu bod mor barod i wasanaethu lles ac i gyflwyno goleuni i ddynion yn awr, pe y teilyngent hyny?

Ni wyddys am gymmaint ag un o weision Duw, dan unrhyw amgylchiad, a ddywedodd nad oedd anghen ychwaneg o ddadguddiadau; eithr o'r ochr arall, lleferydd yr anghrist ai weision y profwyd hyn bob amser; ni waeth ganddo ef pa mor rith dduwiol y bo dynion—pa fath, na pha nifer o eglwysi fydd ganddynt—pa ordinhadau nac athrawiaethau, na pha mor aml a hir y rhith weddiant am y peidiant a chael dadguddiadau newyddion. Nid anesmwythodd un eglwys, amddifaid o swyddwyr ysbrydoledig, mo hono. Ni fu arno arswyd eglwys heb ddadguddiadau, ond chwardda yn ei lawes pan ganfydda holl eglwysi y byd, a llawenhâ uwch y miliynau sydd ynddynt wedi credu yr haeriad anysgrythyrol ac anghristaidd, sef, fod dadguddiadau newyddion yn afreidiol. Gŵyr mai tra hyny, y gall efe eu cylch arwain oddiamgylch i gyfeiliornadau.

Y gampwaith rymusaf a wnaeth Satan er sefydlu ei deyrnas oedd, ennill "y trydydd cynghor yn Carthage," tua diwedd y bedwaredd ganrif, i eistedd mewn barn ar y cynysgrifau a fedd-

ent o air Duw, crynhoisent a ddewisent yn gyfrol a gwrthodasant y gweddill, gan sefydlu cyfraith, na ychwanegid byth lyfrau na dadguddiadau at y "Gyfrol." Gorfododd hyn eu holl hudoledigion hwynt yn y canrifoedd dilynol i wrthod pob peth a broffesai fod yn ddadguddiad newydd, a gwyddai efe yn burion nad oedd berygl i ddynion ddeall ei ddichellion tra y cadwai y gorchudd hwn dros eu llygaid. Boddiwyd ef yn fawr wedi hyny, wrth weled Pabyddion yn troi yn Brotestaniaid ac yn lluosogi fel y gallai gymmwynasu pawb a'r grefydd a ddewisent, a phob peth er eu tawelu a'u boddio i wneyd heb ddadguddiadau newyddion. Eithr yn y fan y denfyn Duw ei angylion i'r ddaear, yr anfona ddynion ysbrydoledig i sefydlu Eglwys iddo ei Hun, ac y mwynheir dadguddiadau a doniau yr Ysbryd Glân, cynhyrfa yr holl gau grefyddau a fedda yn y byd i gydwrthryfela yn erbyn hono â phob dyfeisiadau, ac nid yr un dan sylw, sef afreidiolrwydd dadguddiadau newyddion, yw y lleiaf ei heffaith o'i blaid; eithr trwy hon, ynghyd ag ystoriau anwireddus am gymmeriadau gweision Duw, a sel dros grefyddau eu tadau, a'r Beibl, cynhyrfa ei fyddinoedd mwyaf crefyddol i'w herbyn; ac os na all eu lladd ni foddlonir ef heb dreio lladd eu dylanwad fel na chreder eu tystiolaeth; a'i unig ddyben yn yr oll yw, cadw ei ddeiliaid yn y tywyllwch, drwy wrthod dadguddiadau newyddion, a goleuni Ysbryd Duw drwy ei ddoniau ai nerthoedd. Dychryna ei brif filwyr, y rhai a foethwyd ganddo â bywioliaethau parchus ac ennillfawr, rhag i obaith eu helw ballu pan y clywant am grefydd yn cael ei phregethu heb arian ac heb gôd, gwewyr a'u harswyda pan glywant am adferiad yr hen Grist'nogaeth ddwyfol a'i dadguddiadau, ei gweledigaethau, a nerth yr Ysbryd Glân; ofnant y deuai goleuni y nefoedd a'u twyllwch a'u rhagrith hwy i'r goleuni, ac na chaffent gyflogau ond am bregethu credoau croes-bleidiol, dynol, a chyfeiliornus; a chan na ddysgwyliant wobr gan Dduw, byddai yr hyn a gaffent gan y rhai a'u hiawn adwaenau yn rhy fach yn eu golwg.

Ymffrostio a wneir fod hon yn "*oes oleu*," aïe! "Oes oleu yr efengyl," "Gwlad oleu y Beiblau," a "gardd oleu Cristionogaeth," meddant! Ni bu oes dywyllach o barthed i oleuni crefyddol o'r nef, er pan y crewyd dyn ar y ddaear! Pa faint mwy tywyllwch y dichon dyn fod ynddo na'i fod yn credu am y goleuni mai tywyllwch yw, ac am y tywyllwch mai goleuni yw? A haeru hyny yw dweyd nad oes eisieu chwaneg o ddadguddiadau, o herwydd mai trwy ddadguddiad y daeth pob pelydr o wir oleuni a gafwyd i'n byd ni. Rhaid mai ar yr oes hon yr edrychai Esaias pan y dywedodd, "Tywyllwch a orchuddiodd y ddaear a'r fagddu y bobloedd;" ac oes tywyllwch y fagddu yw—caddug o ymglasgiad canrifoedd, drwy gyfeiliornadau gau Gristionogaeth, a gwrthodiad dadguddiadau. Caddug mor ddudew fel na threiddiodd un pelydr o wawl goleuni y nef drwyddo er ys oesoedd, hyd nes y tiriodd angel cadarn o'r entrych i'r

dyfnderoedd tywyll a dwyn y wir Gristionogaeth—efengyl y gallu Duw—dadguddiadau newyddion, a goleuni y nef i dywynu unwaith etto ar galonau y rhai a'i derbynia, eithr mor gynefinol y mae gau Gristionogion o dywyllwch nes na fynant weled y gwir oleuni, lawer o honynt, er ei fod yn tywynu yn eu plith.

Weithian ddarllenydd hynaws, cyflwynir y sylwadau hyn i'ch ystyriaeth ddyfrifol gan un sydd yn *gwybod* mai y Gristionogaeth a ddarlunir yma yw yr *unig* grefydd a ddichon achub yr enaid—mai drwy yr efengyl dragywyddol hon y mae bywyd ac anllygredigaeth yn dyfod i oleuni; a'r dystiolaeth hon sydd gywir,—sef, y fod Duw *wedi* sefydlu *yr Eglwys a ddarlunir yma yn* EIN GWLAD, a rhoddi ynddi yr holl swyddau, ordinhadau, doniau a bendithion a roddes yn ei Eglwys gynt. Sicrheir y ceir maddeuant pechodau gan bob un crediniol ac edifeiriol a fedyddir i'r Eglwys HON; a thros, ac yn awdurdod y Duw a'n danfonodd sicrhawn y derbynir dawn yr Ysbryd Glân megys cynt, ac y *profa* EFE mai chwedlau anwireddus yw yr hyn a ddywedir i'w herbyn hi, er rhwystro yr ymchwiliwr rhag ei chael. Eithr yr hyn a *wyddom* a dystiolaethwn,—ein dyledswydd a'n braint yw hyny, a saif pob iot o'r gwir hwn pan elo holl gau grefyddau y byd, a'r byd ei hunan heibio fel cysgod, a deuwn ni a'n tystiolaeth i wyneb y darllenydd etto, o flaen brawdle lle y caiff pawb y gwir, ac yno tystiwn mai *hon* yw Eglwys Crist, A'N BOD NI YN GWYBOD HYNY!!

---

## DYLEDSWYDDAU LLYWYDDION CANGENAU.

POB Llywydd Cangen a osodir gan Lywyddiaeth y Gynnadledd, yn unol a'r dadguddiadau, ac yn ol cyfarwyddyd yr Ysbryd Glân, ac fel y cyfryw y mae yn gyfrifol i'w Dduw ac i'w osodwr, am yr athrawiaeth a ddysgir, yr esiamplau a roddir, a'r ddysgyblaeth a weinyddir ar bawb.

1. Dylai pob Llywydd Cangen fod yn ddyn pur mewn athrawiaeth, cadarn yn y ffydd, selog dros waith ei Dduw, a pharch i'w orchymynion a'i gynghorion Ef yn fwyaf, ac yn flaenaf o bob peth, yn mhob man, a phob amser; yn ŵr bucheddol, yn ymarferyd duwioldeb gartref, yn cadw ei deulu mewn trefn, a'u hyfforddi yn ol cyfraith yr Arglwydd.

2. Dyfod i gynghor y Gynnadledd bob bythefnos, (neu bob wythnos os bydd) i dderbyn hyfforddiadau, yn athrawiaethol, dyledswyddol, a Llywyddol, a gofalu fod y cynghorion a gaiff yn cael eu dysgu i'w gyd-swyddwyr yn nghyngor ei gangen, dan ddylanwad yr un Ysbryd, ac yn yr un modd ag eu dysgwyd

yn ngynghor y Gynnadledd, ac arolygu fod holl Lywyddion y dosparthiadau yn deall ansawdd a natur yr hyn a ddysgir iddynt, fel y gallont fod yn selog drostynt, ac yn oleu i ddysgu y rhai sydd dan eu gofal, fel y bydd y dyledswyddau a gyflawnir yn effeithiau teimlad, ac ewyllysgarwch calon, a bendith yr Arglwydd yn eu canlyn.

3. Gofalu am gynghor ei ganghen bob tro os bydd yn bosibl, i ddysgu yr hyn a glywodd, a chlywed ansawdd y dosparthiadau, pwy sydd yn byw yn ffyddlon, (yn swyddwyr a Saint), ac os oes rhai heb fod felly, beth yw yr achos, pa un ai angrediniaeth yn egwyddorion cyffredinol yr Eglwys, neu wrthwynebiad i Lywyddiaeth yr Eglwys? Dyma dri pheth anghenrheidiol i'r holl swyddwyr a'r Saint i fod yn fanwl ynddynt, er bod yn feddiannol ar ddigon o Ysbryd Duw, ac i barhau yn wrol trwy bob anhawsderau a ddaw i'w cyfarfod yn yr Eglwys hon.

4. Gofalu hefyd, fod yr holl gyrddau cyhoeddus yn cael eu cadw yn eu lle a'u hamser priodol. ac fod trefnusrwydd yn y cyrddau, y siaradwr yn dysgu yn sobr a phwysig, a'r holl wrandawwyr yn siml, nid yn siarad a'u gilydd, nac yn darllen rhyw lyfrau, fel mewn ysgol. Dylai y brodyr sydd yn y cylch gael cyfleustra i bregethu a dysgu, yn ol gwahoddiad y Llywydd, a gofalu peidio bod yn rhy hir, na dweyd dim ond yr hyn maent yn ei ddeall, a pheidio dweyd y cyfan o hyny yn mhob man, yr egwyddorion cyntaf i'r byd, ac annogaethau i'r Saint i gredu a gwneyd y gorchymynion a'r dyledswyddau a roddir iddynt gan eu Llywyddion, y pwysfawrawgrwydd o hyny, y bendithion trwy wneyd hyny. a'r canlyniadau o beidio gwneyd hyny.

Dylai pob Llywydd cangen ddysgu hyn yn ei gynghor, a gofalu os bydd rhyw frawd wedi esgeuluso ei gylch, ei alw i rhoddi cyfrif am ei esgeulusdod, ac os achos cyfreithlon a'i rhwystrodd, wedi methu cael neb i fyned yn ei le, anfoned lythyr wedi ei ardystio gan Lywydd ei gangen, i brofi mai achos cyfreithlon a'i rhwystrodd.

5. Cadw trefn dda yn y cynghor, gan fod yn siml a sobr, nid yn ysgafn a ...ater mewn teimlad, gwedd, na gair, gofalu fod dysgyblaeth dda yn cael ei cadw; o herwydd, os bydd esgeulusdod mewn gweinyddu dysgyblaeth ar yr Henuriaid a swyddwyr y cynghor, bydd pechodau yn sicr o lusgo i fewn i'r

gangen, a'r Llywydd a oddefo i ddysgyblaeth yr Eglwys hon gael ei sathru dan draed, a ystyrir yn fwy troseddwr na'r gwaethaf o fewn ei gangen; goddefiad bychan o'r natur hyn a achosa ryddid a difaterwch mawr.

Dylent ofalu fod yn ddidderbyn wyneb tuag at swyddwyr a Saint a thuag at *bob peth*, casgliadau arian fel dyledswyddau ereill gymmaint a dim, a mynu gwybod fod pob peth yn ei le, a'i amser, a'r holl Lywyddion dosparthiadau yn rhoddi dynion gofalus i gasglu, a chyfrif plaen a chywir i gael eu rhoddi o'r holl gasgliadau a'r ddiwedd pob chwarter; hefyd, mynu gwybod fod y ddyled a gyhoeddir ar yr Udgorn am Lyfrau, ar ddiwedd y chwarter, yn Lyfrau a'r law, ac yn ddyled allan, os bydd peth, hyn nid yw yn ganiataol, a gobeithio na fydd yn bod chwaith, ond os bydd, dyledswydd Llywydd y gangen yw mynu gwybod fod y dosparthwr yn ddyn gonest, fel y byddo ymddiried ynddo gan yr holl Saint.

6. Gofalu fod Llywyddion y dosparthiadau yn ddynion profiadol yn y ffydd, ac yn gwybod rheolau yr Eglwys yn dda, fod dysgawdwyr yn mhob dosparth yn ddynion mewn oed, (os gellir eu cael) yn llawn o amynedd, serchawgrwydd, pwyll a doethineb, yn deall eu gwaith, ac yn ei gyflawni, fel y gallo yr holl Henuriaid a'r Offeiriaid fyned allan i bregethu bob sul, ac yn yr wythnos i gyflawni eu dyledswyddau; yr Henuriaid i ymweled a'r cleifion, a gweinyddu ordinhadau er cael bendithion ysbrydol, a'r Offeiriaid oddiamgylch i ddysgu yr egwyddorion cyntaf, a phregethu yn mhob man lle y cânt, a gofalu fod yn lân a thrwsiadus eu cyrff, felly pob swyddwyr pan yn myned i ymwneyd a gwaith yr Arglwydd, y Diaconiaid yn ymweled a thai y Saint bob wythnos, yr un peth a'r swyddwyr ereill, a holi a fydd angen cymhorth ar y teulu, a'u hyfforddi mewn cyfiawnder a daioni, a'u hannog i gadw eu hunain o ddyledion, a phan fethont, dweyd eu hamgylchiadau wrth yr hwn y maent yn ddyledus iddo, fel na byddo yn diraddio crefydd y Saint, a'u rhoddi yn y Cwrt Bach, peri gwarth, a chael talu dwbl yr arian, a hyny i gyd yn achos esgeulusdod siarad a'r Masgnachwr y bu delio ag ef. Frodyr, edrychwn a'r ogoniant gwaith yr Arglwydd, a gwnawn bob peth yn gyfiawn, gweddaidd ac mewn trefn.

Daniel Daniels.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MAI 27, 1854.

Y FFORDD I DDEDWYDDWCH.—Cyrhaedd dedwyddwch yw amcan dyn yn mhob ysgogiad o'i eiddo, debygwn, ac mor amrywiol a'u hymgeisiadau ydyw eu barnau am natur dedwyddwch: meddylia llawer mai boddio chwantau y cnawd a ddyry iddynt fwyaf o ddedwyddwch, ereill yn hollol groes iddynt a geisiant ymddedwyddoli wrth groesi holl ddymuniadau natur braidd; nid ychydig yw y dosparth a gredant mai arian yw yr allwedd a ddadgloa gelloedd dedwyddwch, eithr y mwyafrif a gredant bod crefydd yn anhebgorol er mwynhau dedwyddwch. Ac y mae poblogrwydd y dywediad yna yn peri ymholiad yn mhellach, sef, pa fodd y dichon crefydd ddedwyddoli dynion? Sylwn mai rhaid fod crefydd yn sylwedd neu fod sylwedd mewn cyssylltiad a chrefydd cyn y dichon greu effaith ddedwyddol nac annedwyddol, canys os nad sylwedd, diddim yw, ac effeithiau dim ni fyddant ond dim yn dragywydd. Ymddengys, ynte, bod dedwyddwch yn sefyllfa, ag sydd yn anhebgorol i gael sylwedd i'w achosi, neu i ddwyn dyn iddi, a rhaid bod y sylwedd hwnw o natur ddedwyddol ei hunan, cyn y dichon fod ei effeithiau yn ddedwyddol. Fod y sylwedd hwnw allan o gyrhaedd dyn, o hono ei hunan, a gyfaddefir yn ei waith yn crefydda er mwyn i gael. Tybir gan rai y gwna y naill beth hwy yn ddedwydd yn y fuchedd hon, ond y rhaid cael rhyw beth arall o natur wahanol er eu dedwyddoli yn y byd y ddaw; ac o ganlyniad nid yw yr awydd sydd am grefydd ond darpariad erbyn y byd arall; eithr gwelir y camsyniad o hyn yn y ffaith mai mwynhau o ffrwyth y gweithredoedd a wneir yma y byddys yn y byd a ddaw, "pa un bynag a fyddant ai da ai drwg:" hefyd, gan mai y sylwedd dedwyddol ag sydd mewn crefydd yw yr unig beth a achosa ddedwyddwch yn y byd a ddaw, gwelir y dedwyddola hwnw ei feddiannydd a'r un rhyw o ddedwyddwch yma ac yno; ac o ganlyniad mai y sylwedd hwnw yw yr

unig beth a ddug wir ddedwyddwch yma ac ar ol myned oddiyma.

Bellach amlwg yw mai yn y mwynhâd o'r sylwedd hwnw yn unig y mae gwir ddedwyddwch; ac y fod graddau y dedwyddwch a fwynheir yma ac yno yn dibynu ar, ac yn gyferbyniol i'r graddau a feddir o'r sylwedd hwnw, a brofir oddiwrth yr ysgrythyrau a brofant y bydd cyflawnder o bob dedwyddwch yn y nef, o herwydd y bydd pawb yn berffaith yno. Wrth hyn gwelir nad ymollyngiad i foddio chwantau nac i garu gwrthddrychau anmhur ond, ufydd-dod i'r sylwedd perffeithiawl hwn a grea wir ddedwyddwch yma nac yn y byd a ddaw; ac felly yr ymholiad pwysiccaf yngolwg dyn doeth yw, pa fodd i gael gafael ar y sylwedd hwnw, a pha fodd i'w gynnyddu? O herwydd gan mai cael y cyflawnder o ddedwyddwch yw y gamp uchaf —y cyfoeth mwyaf, a'r trysor goreu, yna yr hyn a'i dyry yn ein mheddiant sydd o gyd-bwys i'w gael.

Ni bydd yn newydd i'r Saint pan y dywedwn mai Ysbryd Duw yw y sylwedd perffeithiawl a dedwyddol hwn, efallai mai newydd da fydd i ambell ddarllenwr pan y sicrhawn fod hwn i'w gael yn awr drwy iddynt ufyddhau i ofynion Duw drwy ei weision, a chymmeryd eu bedyddio ac arddodiad eu dwylaw hwynt; a newyddion da o lawenydd mawr yw hyn gan bawb a wnaethant felly, ac hysbyswn mai ein dyben yn hyn o ymresymiad yw dwyn y rhai a deimlasant raddau o'r dedwyddwch hwn i ymresymu drostynt eu hunain, pa fodd y gallant gynnyddu y dedwyddwch hwnw fwy fwy. Yn gymmaint ag mai y blaenffrwyth o'r Ysbryd Glân a roddes iddynt yr hyn a feddant o wir ddedwyddwch, felly y cynnyddiant o hono yn unig a ddichon gynnyddu eu dedwyddwch; ac yn gymmaint ag mai drwy ufydd-dod i Dduw y derbyniasant raddau o hono, pwy na wêl mai yn yr ufydd-dod i holl orchymynion Duw y cynnydda. Fel, o'r ochr arall, nid yw yn destun syndod fod yr Ysbryd hwn yn cilio, a'i ddylanwadau dedwyddol yn cael eu gorchfygu gan annedwyddwch i'r graddau ag yr anufyddheir i'w orchymynion Ef.

Ni raid ychwanegu rhesymau a'r hyn, ac ni raid i neb o'r Saint ddyfod attom i ofyn beth a wnant i deimlo yn fwy dedwydd, mae y ffordd o'u blaen—yn eglur—yn rhydd, ac y mae pob dedwyddwch yn eu denu "i *redeg* yr yrfa" hon, ac nid i

*sefyll* ar ei chanol; a dylai yr annedwyddwch a'u llanwa drwy esgeulusdod, eu symbylu i ffyddlondeb gyda'r yr unig wir ddedwyddwch a ellir gael. Mae mor amlwg y fod cynnyddiant eu dedwyddwch yn ymddibynu a'r eu ffyddlondeb yn gwneyd, ag yw amlwg iddynt hwy, mai drwy wneyd yr hyn a wnaethant y cawsant yr hyn ddedwyddwch a deimlasant. Aros heb wneyd hyd nes y daw teimladau dedwyddol iddynt sydd yn gyffelyb i aros i oleuni yr Haul orfodi eu hamrantau i agoryd o'i flaen er eu gwaethaf;—peidio gwneyd daioni hyd nes y teimlir yn hapus, yw aros i Dduw eu bendithio am droseddu ei orchymynion, pan nad yw annedwyddwch ond effeithiau anffyddlondeb.

Dywenydd genym fod y swyddwyr sydd yn y cylchoedd hyn wedi agor eu llygaid ar yr egwyddor hon, ac yn lle beio arall na dysgwyl yn hwy, fel y cleifion hyny wrth lyn Siloam am gynhyrfiad y dwfr, eu bod yn penderfynu cynhyrfu y dyfroedd marw eu hunain—yn penderfynu "agor eu safnau" fel y gallo Duw gyflawni ei addewid drwy eu llanw â geiriau y bywyd. Wrth wneyd ei ddyledswydd o bregethu y mwynha y pregethwr ddedwyddwch—wrth adeiladu ac ymgeleddu y gweiniaid yr ymddedwyddola yr Athraw—wrth dystiolaethu, traethodu, a diwidl-fucheddu hyd lwybrau Duw y teimla yr aelodau yn ddedwydd, a thrwy ufyddhau i bob gair a ddaw allan o enau yr Arglwydd drwy ei weision y cynnydda gwir ddedwyddwch pob un o'r Saint:—ofer ceisio, nid oes reol arall,—hon, â dedwyddwch, bod heb hon yw, bod heb ddedwyddwch? Weithian, amlwg yw fod allweddau dedwyddwch pob swyddog ac aelod yn eu *dwylaw eu hunain*; a'i defnyddia, a brawf y ffaith; a *beidia, na faied ond ei* HUNAN!

---

CYNNADLEDD SIR ABERTEIFI.—Deallwn drwy lythyrau dyddorol oddiwrth y Llywydd Evans, Jeremy, Daniels a'r Henuriad Robert Parry, eu bod wedi cael Cymmanfa ragorol yn Ffair Rhos, Sul y 7fed. o'r mis hwn, yn cynnwys 5 cangen, 7 wedi eu bedyddio, cyfan 112. A chawsant amser dyfyrus yn Aberystwyth, yn y dyddiau canlynol,—bod ein Cynghorwyr wedi adolygu a gwrthbrofi cyhuddiadau anwireddus y Parch. Wesleyaidd a gafodd beth o'n sylw, ynghyd a'i Ddarlith, mewn rhifyn blaenorol o'r UDGORN, i hollol foddlonrwydd tyrfa liosog

o wrandawwyr astud a boneddigaidd a ymgasglasent i'r *Assembly Rooms* helaeth a chyfleus, yr hon drwy hynawsedd a boneddigeiddrwydd clodadwy Maer, a Bonedd ereill y dref, a ganiatawyd, ar yr achlysur, i'r Saint amddiffyn ac i'r Brawd Parry areithio a'r 'Formoniaeth;' a phan y boddlonodd y Brodyr deallus hyn eu hunain, y rhai a wyddant beth yw doethineb a gwirionedd, mor fawr ag y dywedant eu bod, credwn y dylai pawb ereill o garwyr gwirionedd hollol ymfoddloni.

Dywedodd y *Parch.* na fu efe yn sefydliad y 'Mormoniaid,' ac na wyddai amgen am danynt nac a glywodd gan eu gelynion, a diflasodd ei wrandawwyr drwy ferwino eu clystiau a'r hen chwedl o "gerdded ar y dwfr" dros afon y Missisippi, ar blanciau a asodasid ar bolion y nos o'r blaen, &c. Atebodd y Llywydd Daniels, y byddai gosod polion yn yr afon lle yr enwodd, sef a'r gyfer Nauvoo, gwaelod yr hon sydd graig yr holl ffordd o filltir a thri chwarter, ac mewn dwfr a rêd mor chwyrn a chewch milltir yn yr awr, yn fwy o wyrth nag a gredodd y Saint eu hunain ddarfod i Joseph Smith erioed amcanu ei gwneuthur!

Darllenodd y Llywydd Jeremy dystiolaethau yn y ddwy iaith, a gyhoeddwyd gan dystion diduedd, i ddieuogi *Deseret* a'i phreswylwyr o'r holl gamgyhuddiadau a ddygwyd i'w herbyn, i foddlonrwydd yr holl wrandawwyr yn ol pob argoelion, ac achosodd yr ymosodiad lawer o ymchwiliad i'r grefydd oedd rhy ddisylw yno a'r blaen, ac y mae argoelion gobeithiol y caiff yr ufydd-dod a deilynga gan ei hymchwilwyr gonest.

Clywsom fod y Brawd Parry, wedi areithio yn ddylanwadol iawn ar eu hôl a thystiolaethu yn nerthol wrth ei hen gofoidion, canoedd o y rhai a ddaethant i'w wrandaw, ei fod ef erbyn hyn wedi cael gafael yngwir Eglwys Dduw. Clywsom fod cyhoeddwr ystori "hosanau yr hen wreigen," wedi cuddio ei wyneb mewn cywilydd rhag y canoedd digofus olygon a rythent arno pan yr adgoffhaodd y Brawd Parry ef o'r fath gampwaith o "oleuo y wlad o dwyll Mormoniaeth," a chyhoeddi y fath chwedl.

Wedi yr oll, teimlwn fod Duw yn nerthu ei weision i amddiffyn y gwirionedd a'i fod yn goruwch-lywyddu holl gynddaredd dyn i'w hwylyso yn y blaen; felly parhaed y cydweddia holl blant Duw gyda ninnau.

PENFRO OGLEDDOL.—Cynhaliwyd Cymmanfa yn Abergwaen Sul y 14fed o'r mis hwn, a hysbysir ni drwy lythyrau cysurlawn oddiwrth y Llywyddion Jeremy a Reese fod Ysbryd yr Arglwydd yn gorphwys yn nerthol ar y pregethwyr a'r Saint drwy yr holl gyfarfodydd, fod yr eglwysi yn mwynhau mwyfwy o'r doniau ysbrydol, undeb a chariad yn cynnyddu, a rhai pobl onest o blith gau grefyddau yn ymofyn am Dduw yn ei drefn ei Hun:—cyrhaeddasai amryw o'r gwirfoddiaid oddiyma yno, a mawr y llawenydd oedd gan y fyddin frwydrol, o gael eu cynnorthwy, a galwant am ychwaneg etto. Pwy a aiff?

---

## LLYTHYR O DDINAS Y LLYN HALEN MAWR.

*Dinas y Llyn Halen Mawr, Ion.* 22, 1854.

ANWYL RIENI,—Yr wyf yn defnyddio y cyfleusdra hwn idd eich hysbysu ein bod fel teulu wedi cyrhaedd y lle hwn er y 10 o fis Medi diweddaf, ac yr ydym oll wrth ein bodd yn y lle rhagorol hwn. Mae y lle o ran ei hinsawdd yn iachus, yr awyr a'r dwfr yn bur, tir bras a thoreithiog er cynnaliaeth dynion ac anifeiliaid, a digon o hono am ddim braidd ond cloddio o'i amgylch a'i lafurio; y mae yn dwyn o 30 i 50 bwshel yr erw o wenith neu unrhyw ŷd arall. Y mae yma bob peth yn tyfu ag sydd yna, a llawer iawn o bethau ereill na ellir eu codi yna heb *hot-houses* neu *hot-beds*, yn tyfu yma ddim ond eu planu yn y ddaear, heb ddim achles na nemawr o driniaeth. Mewn gwirionedd mae y lle hwn yn gyfryw ag y gall dyn eithaf tlawd ddyfod yn gyfoethog mewn tir ac anifeiliaid, a phob peth anghenrheidiol arall at ddedwyddwch dyn, mewn ychydig flynyddau. Bum yn gweithio peth gwaith melsiwn yma, neu *brick-layer*, os mynwch, ac yn ennill 3 dollar yn y dydd, a phe buaswn yn fwy cyfarwydd yn y gwaith hwnw mi a ennillaswn ychwaneg. Huriau gweithwyr yn y lle hwn yw fel y canlyn:- Crefftwyr, 3 dollar yn y dydd; gweithwyr cyffredin, o un a hanner i ddau ddollar yn y dydd. Pris y gwenith yn y cyffredin yw 2 ddollar y bwshel. Dymunwn ddweyd wrth Thomas fy mrawd am heidio digaloni oblegid ei dylodi, ond gwneled bob parotoad ag a allo i ddyfod i ffwrdd; yr wyf yn foddlon talu ei draul fel y byddo ei *bassage* yn rhydd erb yn y *spring* nesaf.

Y mae Wm. Richards, yr *Engineer*, a David Jones, Cwmbach a'i deulu, yn erchi eu cofio at Thomas Rees a'i deulu, gan eu hysbysbysu eu bod hwy yn gysurus ac wrth eu bodd. Y mae hwn yn le ag y gall dyn ddarparu mwy yr haf nai anghen erbyn y gauaf. Y mae David Jones yn hysbysu ei fod wedi ysgrifenu at y merched, a dymunwn i chwi roddi gwybod yn eich llythyr os ydynt wedi ei dderbyn a'i peidio.

Anfonwch lythyr yn ol mor fuan ag y derbyniwch hwn.

Ydwyf, eich mab,

JOHN REES.

---

## ARWYDDION YR AMSERAU, AM ADFERIAD POB PETH.

„NEFOEDD newydd, *a daear newydd*, yr ydym ni, yn ol ei addewid ef, yn eu dysgwyl, yn y rhai y mae cyfiawnder yn cartrefu," yw lleferydd Henuriaid Eglwys Dduw ar y ddaear. 2 Pedr iii, 13.

"Teilwng wyt ti i gymmeryd y llyfr, ac i agoryd ei seliau ef, oblegid ti a laddwyd, ac a'n prynaist ni i Dduw, trwy dy waed, allan o bob llwyth, ac iaith, a phobl, a chenedl; ac a'n gwnaethost ni i'n Duw ni yn freninoedd, ac yn Offeiriaid; *ac ni a deyrnaswn ar y ddaear*:"—yw cân yr Henuriaid yn y nef. Dat. v, 9, 10.

A dywediad Apostol, am yr Iesu ydyw, y "Rhaid i'r nef ei dderbyn, *hyd amseroedd adferiad pob peth.* Act iii, 19. 21.

Daeth y dyn cyntaf Adda i'r ddaear, fel yr aeth Enoc ac Elias o honi, heb ynddo lygredd na hadau marwolaeth, i lafurio yr ardd a'i chadw; i fyw i eppilio, i liosogi ei deulu, ac i lywodraethu ar holl greaduriaid y byd i gyd; ei wraig Efa, a ddaeth yn ymgeledd gymhwys, ac yn gydmares serchoglawn iddo; a'r ddau yn un oeddynt brydweddol mewn hawddgarwch, yn nefolaidd mewn santeiddrwydd, yn anwylaidd mewn gwynfyd, ac yn gariadlon mewn diniweidrwydd, heb iddynt wybod da a drwg.

Ymddangosai y greadigaeth o'u hamgylch yn balas mawr ardderchog ac addurniedig, i dderbyn y ddau breswylydd priodasol i'w chyfaneddle dawel a pharadwysaidd; sêr y nen yn fagad cylch bagad blith draphlith o gydser uwch cydser gorloywon, ac afrifed a dryfrithent yr wybren fwâog oll, megys lampau llewyrchus, dysglaer a thywynedig uwch eu penau y nos; y dyfroedd oeddynt gasgliedig yn yr un lle, ac arafaidd a hardd yr ymolwynai yr haul mawr dros eu hymylon terfyngylchog, gan hilio eu gwrymiau brigwynion a phelydr melynliw, ac ymdywynu yn hynaws ar y gwr a'r wraig ruddwridon yn debyg i lygad aur, trwy bur amrantau y boreu; y ddaear oedd lawrlen werdd a melfedaidd, yn ymfrodiog gan flodau am-

ryliw, dan draed gorwynion y ddau ddihalog; a'u cyrff, o liw'r glainfaen gwynaf ar aelodau prydferthach nag a ddichon i un byth eu cerfio mewn marmor, oeddynt angylaidd mewn lledneisrwydd a dynoldeb. Irllaes wallt modrwyog Efa, a chwareuai gyda'r awel iachusol a wyntai ar ei gwar iforaidd a theg; llygaid y ddau oeddynt loywlan mewn iechyd dymunol; delw llywodraethwr oedd argraffedig yngwyneb serchiadol y gwr mawrfrydig; a physg y mor, anifeiliaid y maes, bwystfilod y tir, ac ednod yr awyr, a ymostyngent yn wirfoddol i hawl arglwyddiaeth yr un a luniwyd ar ddelw y Creawdwr; a grymus oedd cydgerdd felus telori adar, sisial ffrydiau, a chaniad y gwr a'r wraig i'r Ior a'u gwnaeth; tra gorddwfn ddystawrwydd y bydoedd dirifedi a gorfawreddog, wrth ymrolio a chwyrnellu trwy gyfwng ceudod yr eangderau dieithafoedd ac anamgyffredadwy yn cyd ardystio mai gwirionedd disyfl oedd y fawlgân gyntefig, "Wele da iawn ydoedd," pan y cydganodd ser y boreu, ac y gorfoleddodd holl feibion Duw.

Y wraig, mewn awydd am fod yn dduwies, "Yn gweled mai da oedd ffrwyth y pren yn fwyd, ac mai teg mewn golwg ydoedd, a'i fod yn bren dymunol i beri deall, hi a gymmerth o'i ffrwyth ef, ac a fwytaodd, ac a roddes i'w gwr hefyd gyda hi, ac efe a fwytaodd, a'u llygaid hwy ill dau a agorwyd:" ac o'r dydd hwnw hyd heddyw, mae llygaid dyn yn agored, i wybod da a drwg.

Troseddodd dyn gyfraith santeidddrwydd; pechodd, a daeth cyflog pechod i mewn; sef, marwolaeth. Troseddodd dynion ddeddfau natur, trwy ymollwng yn mhellach i lygredigaeth pechod, ac yn gosp ychwanegol, oblegid ychwanegiad, pechod, daeth afiechyd, clefydon, a heintiau i mewn, hyd nes cwtogi einioes, a pheri i farwolaeth afael a chymmeryd dynion ymaith a'r bob adeg, fel nad oes oedran o enedigaeth i henaint, na cheir rhai yn meirw.

Dyryswch a amgauodd oddiamgylch dyn; melldigwyd y ddaear o dan ei draed; drain, ysgall a mieri a dâg dyfiant ffrwythau; efrau a ymgymmysgant â chnwd y maes; daeth y creadur ardderchog yn bechadur andwyol; nid oes neb cyfiawn, nac oes un ; marwolaeth sydd yn teyrnasu, colyn angeu sydd yn llym, parod yw y bedd, uffern a egyr ei safn yn anferth, a cholledigaeth a erys y troseddwr euog, oi ran ei hun yn dragywydd.—(*I'w barhau.*) R. DDU, ERYRI.

---

## CWYN Y SANT.

TON.—"Canaan hyfryd"

'RWYF wedi blino byw
Yn ngwlad y cystudd,
O na chawn fyn'd i fyw
I Seion lonydd;

'Does yma ond llid a thrais,
A'r bobl yn drahaus,
A'u siarad yn barhaus
Yw sôn am ryfel.

Nis gallaf gael un man
Heb sôn am ryfel,
Fe lenwir tref a llan
A sôn am ryfel;
Mae Twrci a Rwssia yn awr,
Yn llenwi daear lawr,
A sôn am ryfel mawr
Sy'n llon'd y gwledydd.

Pa le? pa le? pa le?
Caf drigfa dawel,
Neu ardal dan y ne'
Heb sôn am ryfel;
Gwae, gwae, drigolion llawr,
Can's ysbryd Belial fawr,
Ddaeth ar freninoedd 'nawr
Yn ysbryd rhyfel.

Nid ydyw hyn i gyd,
Ond dechreu gofid,
I bob rhyw lwyth ac iaith
O fewn yr holl-fyd;
Arwyddion diwedd byd,
A ddaethant yn eu pryd,
A'r bobl sydd i gyd
Yn sôn am ryfel.

O na chawn drigo nghyd
A thangnefeddwyr,
Cyn dyfod ar y byd,
Y gwae fel gwewyr;
Fy ysbryd sydd yn brudd,
Mewn gofid nos a dydd,
Am gael dihangfa rydd
O sŵn rhyfeloedd.

O Seion, Seion gu,
P'ryd caf dy sengu?
Rhyfeloedd Babilon,
Sydd yn terfysgu:
O Dduw trag'wyddol Dad,
Prysura fy rhyddhâd,
Fel gallwyf feddu gwlad
Heb sôn am ryfel.

*Fflint.* T. Conway.

## ☞ NEWYDD DDYFOD O'R WASG. ☜

Y MAE yr "*Hen Grefydd* [o'r] *Newydd*" wedi dyfod allan o'r diwedd, a gall y Dosparthwyr a ymofynant am dani ei chael pan y mynont. Cynnwysa tua dêg o dudalenau o ddarlleniad yn ychwanegol at yr hyn oedd yn yr Argraffiad cyntaf, etto nid yw ei phris ond *chwe' cheiniog;* mae mewn llythyren fanach fel y gwelir wrth yr enghraifft a ddyfynasom o'r Traethawd cyntaf yn y rhifyn hwn, a phapyr gwell.

☞ Rhoddir yr elw arferol i Ddosparthwyr, i'r Gwirfoddiaid, ac i'r Cymdeithasau Traethodau!

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y RHYFEL.—Dywedir fod y Llynges, dan Syr Charles Napier wedi darostwng amryw drefydd, a chymmeryd 1500 o Rwsiaid yn garcharorion yn agos i Gulfor Findland,—fod 18 o longau Brydeinig a Ffrengaeg dan y prif Lyngesydd Dundas, wedi dystrywio holl amddiffynfeydd a nwyfau rhyfel,—dau dŷ pylor, ac wedi nâill ai suddo ai llosgi 11 o longau rhyfel o eiddo y Rwsiaid, ac un llong ryfel o eiddo Awstria; a'u bod wedi cymmeryd 11 o longau Rwsia ag oeddynt yn llwythog o nwyfau rhyfel, heb golli ond 8, a chlywfo 18 o wyr, tra y bernir fod lladdedigion yr wrth fyddin yn lliosog iawn. Ennillodd byddin y Twrciaid o 70,000 o wyr, frwydr ar y Rwsiaid yn Silistria, ac un arall wed'yn yn Nicopolis, lle y lladdwyd 1,500 o'r Rwsiaid. Ac ar yr ail o'r mis hwn ennillasant frwdr arall yn Radova.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MAI 6 HYD 26.—Mynwy, £2; Lerpwl Cymreig, £1 10s; Morganwg Orllewinol, £5; Morganwg Ddwyreiniol, £3 17s.

☞ Ymddengys llythyrau cartrefol a thramor, a gohebiaethau dyddorol yn ein nesaf.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau, i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street*, *Merthyr-Tydfil*.

---

CYNNWYSIAD.



---


MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 21.] MEHEFIN 3, 1854. [CYF. VII.

### PAHAM Y CERIR Y GWIRIONEDD?

GAN Y LLYWYDD BRIGHAM YOUNG.

FRODYR, paham y carwch y gwirionedd. Ai am ei fod yn rhoddi i chwi y gallu, a'r awdurdod a berthyn i'r Offeiriadaeth? Ai o herwydd ei fod yn eich gwneyd yn reolwyr, breninoedd, ac Offeiriaid i'n Duw ni, gan roddi i chwi *allu mawr?* Mae yma ddynion yn proffesu bod yn Saint, hyd y nod yn y gynnulleidfa hon, o fewn sain fy llais, yn rhai sydd yn teimlo mor *hollalluog y daethant.* Hwy a'ch melldithiant, os na welwch yn addas *gydsynio a'u dymuniadau.* Mae gan lawer o bobl y byd deimladau yn eu calonau tuag at eu gwragedd, fel os na wnant yn *gymhwys* yr un fath ac y dymunant hwy gyflawni hyn neu hynyna, hwy a'u beiant. Y fath bethau rhyfeddol y maent hwy yn myned i'w gwneyd! "Os na fydd i chwi ufyddhau i *fy* llais i, *fy* nghyngor i, myfi a'ch anfonaf i uffern, a throf yr allweddau arnoch, fel na chaffoch *byth!* na *byth!* eich rhyddhau."

Chwiorydd, byddai gystadl i chwi ystyried clindarddach drain dan grochan, yr aderyn diofal ar ei fynedfa, neu gruglais garan, gan belled ag y mae eu Hoffeiriadaeth yn perthynu. Yr ydych yn ddiogel, os gwnant ond cadw eu dwylaw oddiwrthych; gadewch iddynt regi. Adgoffa hyn i mi ddihareb sydd gan yr Arabiaid, fod "Rhegfeydd sydd fel cywion ieuanc, hwy a ddeuant etto adref i glwydo."

Ai am *hyn*—ai o herwydd ei fod yn rhoddi i chwi y fath fawr

*allu* ac *awdurdod, y carwch chwi y Gwirionedd?* Ai am ei fod yn rhoddi i chwi allu i regi eich cymmydogion, plant eich cymmydogion, eu gwartheg, a phob peth, o'ch hamgylch chwi? Gadawer i'r oll o'r fath fyned ymaith i'w lle eu hunain, i California, trwy y ffordd ogleddol: nid i San Bernardino at sefydliad y brodyr Lyman a Rich, oblegid y mae ganddynt ddigon o ddynion drwg yno eisoes: eithr ewch i'r byd yn hollol ymaith oddiwrth y Saint, a goreu po gyntaf.

Dylai dynion weithredu oddiar yr egwyddor o gyfiawnder, o herwydd ei fod yn uniawn, a'i fod yn egwyddor y carant ei feithrin a gweled ei arferu gan bob dyn. Dylent garu trugaredd, oblegid ei garedigrwydd, tosturi, cariad, hynawsedd, a'r oll o'i briodoliaethau hawddgar, a bod wedi eu hysbrydoli ganddo i ymddwyn yn gyfiawn, yn deg, yn anrhydeddus, gan fesur allan i ereill eu haeddedigaethau cyfiawn.

Os hunanoldeb a'ch cymhell i gofleidio y gwirionedd, os ond i ddyrchafu eich hunain a'ch cyfeillion yr ymgyfammodasoch i wasanaethu eich Duw, a hyny eich unig ddyben, gwell a fyddai i chwi fyned heibio ar y ffordd ogleddol, oblegid nis gallwn ni wneyd i chwi unrhyw les os dysgwyliwch, neu aros gyda ni: nid am nad oes gan Dduw ofal am ei blant, ond y mae Ef yn caru y rhai a garant holl egwyddorion cyfiawnder, o herwydd eu bod yn gyfiawn, a chanddynt hyfrydwch yn yr ymarferiad o egwyddorion pur, o rinwedd, o ragoriaeth a gwirionedd, o addfwynder, hirymaros, ac hunanymwadiad, trugaredd, a thosturi.

Gwybyddus yw i mi fod fy iaith yn ffaelu a throsglwyddo fy meddylddrychau i chwi fel y dymunwn * * * * eithr dywedaf, gweddiwch ar i'r Arglwydd ysbrydoli eich calonau. Gofynwch am ddoethineb a gwybodaeth. Eich dyledswydd yw ymgeisio ar ei ol. Gadawer i ni geisio, a bydd i ni gael; curwn, ac fe agorir i ni. Ond am ei ddyfod i lawr yma i dywallt ei Ysbryd arnoch chwi, tra yr ydych yn amcanu ar ol pethau gwag a dystadl y byd, yn ymfoddhau yn yr holl wagedd, ffoledd, a'r ynfydrwydd sydd yn eich hamgylchynu; yn yfed i mewn yr holl ffieidd-dra aflan, y dylid ei ddirmygu o bob gwladwriaeth ar y ddaear—mor hired ac y parhaoch chwi yr yrfa hon, gorphwyswch yn sicrhäol na ddaw Ef yn agos atoch.

Yr wyf yn gofyn i chwi adael heibio hyn; ymattaliwch, purwch, a santeiddiwch eich hunain ger bron eich Duw, a cheis-

iwch gymmaint o ysbryd y gwirionedd fel y llanwo chwi, y galloch floeddio yn uchel gyda eich holl allu i foliant Duw, a theimlo eich calonau yn oleu fel haul nawn y dydd. Yna gellwch ddawnsio, a gogoneddu Duw: ac fel y cewch aros yn y gwirionedd, bydd i Dduw eich cyfodi i fyny, ac ychwanegu at eich niferoedd, fel y byddo i'ch godreu lenwi y Deml santaidd, megys y dywedwyd am yr Arglwydd gan un yn yr hen amser. A bydded i'r Arglwydd eich bendithio.

---

## DAMMEG YR IUDDEWON A'R MOCHYN.

RHYW gigydd (*butcher*) wedi hir golli cig moch yn ddirgelaidd a'i gigydd a gafodd o'r diwedd le i gredu mai yr Iuddewon cymmydogaethol oedd yn ei ladrata yn y nos; wedi hir wylio yn ofer, a chan eu bod hwythau oll yn tystio fod bwyta cig moch yn groes i'w crefydd, a benderfynodd wneyd prawf o'r peth; ac, efe wedi lladd mochyn tew braf, a aeth ag ef i'r heol o flaen tai yr Iuddewon gan waeddi, "Cig moch am ddim, cig moch yn rhodd." Buan y gwelai eu penau yn y drysau, ac yn edrych yn flysig ac awyddus o weled rhywun yn torri rheffynau cydwybod; ac o'r diwedd mentrodd un yn mlaen, ac a ddywedodd, "Mochyn braf yn siwr, pe buaswn i yn bwyta cig moch dewiswn i y pen, ac yn siwr pa wiw colli cynnyg da er mwyn cydwybod, torwch y pen i mi, gwnaf *souce nice* iawn o hono, ac nid cig moch a fydd wed'yn, canys ni fwytawn i gig moch am unpeth." "Da iawn frawd," ebe un arall, "yr wyf fi o'r un farn a chwi, credaf fi mai ham a ddewisiwn i, pa wahaniaeth llindagu tipyn ar y gydwybod weithiau, etto coeliwch fi na fwytaf fi gig mochyn er dim." Aeth ereill a'r traed, ereill a'r asenau, ysgwyddau a'r oll, gan sicrhau na fyddent hwy gymmaint *infideliaid* a bwyta na chyffwrdd â mochyn. Y cigydd a waeddodd ar eu hol, pan elai pob un a'i ddarn ar ei ysgwydd dan lyfu ei weflau wrth feddwl am y *roast*; "Pa le mae fy mochyn rhyngddoch oll, dan wadu na fwytewch gig moch, nid oes dim o'r mochyn yn ngweddill. Chwi yw y lladron mi welaf yn eglur." Ac o hyny allan gofalodd rhagddynt. Pwy a ddehongla y ddammeg? Beth yw y mochyn a phwy yw yr Iuddewon? Pwy a wyr ac a ddywed?

## LLYTHYR O DDINAS MANTI.

*Dinas Manti, Chwefror*, 1854.

Anwyl Dad a Mam, Brodyr a Chwiorydd,—Yr ydym ni oll yn fyw ac iach a gobeithiwn eich bod chwithau felly. Buom ni yn dra llwyddiannus er pan y gadawsom St. Louis, a chroesasom y Mynyddoedd Creiglyd yn hawddach nag yr erfynasom. Da genym yw bod wedi dyfod i'r lle hwn; buom am yspaid yn gwneyd priddfeini *(adobies)*, tua deg milltir i'r gogledd i Ddinas y Llyn Halen Fawr, lle yr ennillwn tua 3 dollar y dydd (12s 6c), ac ennillwn 4 dolar y dydd (16s 8c) wrth eu gwalio; gwelwch wrth hyn fod yma le da i weithiwr. Daethom i'r fan hon drwy gynghor y swyddogion, yn un o gant a hanner o deuluoedd, er lliosogi y sefydliad hwn, dysgu iaith a phregethu i'r Indiaid, o herwydd fod eu hamser hwy wedi dyfod i gael clywed yr efengyl. Teimlwn ein bod wedi dyfod i dref yn y lle hwn. Cawsom roesawiad mawr gan drigolion y lle hwn, yn neillduol gan y Cymry sydd yma. Yr wyf yn adeiladu tŷ yn awr, ac yn troi yn ffermwr yn nesaf. Mae genyf ymborth i mi a'm teulu eisoes am fisoedd, ac os oes rhai o honoch wedi ufyddhau i'r efengyl, carwn eich cynnorthwyo i ddyfod i'r lle hwn. Carwn yn fawr pe rhoddech chwi bryd o dê a chroesaw i'r Capt. Jones er mwyn y croesawiad mawr a roddodd ei wraig ef i ni yma.

Carwn glywed fod fy nhad ynghyfraith wedi dyfod at y Saint a charwn ei gynnorthwyo ef a Thomas fy mrawd i ddyfod yma y gwanwyn nesaf, ac os deuwch tuag yma neb o honoch, gwnaf fy ngoreu i barotoi ar eich cyfer.

Ydwyf yr eiddoch, &c.,

John Rees.

---

[Ni raid i ni ychwanegu ein sylwadau ar yr uchod o barthed i ffrwythlondeb a manteision Seion, dywedant drostynt eu hunain, a mwy grymus nag yw camddarluniadau gelynion o'r wlad hono, ond yn unig hysbyswn fod y rhieni wedi ufyddhau i ddymuniad eu mhab, a dyfod i'n gwahodd yn serchus; ac ni a aethom i'w tŷ, ac a fwynhasom ein hunan yn fawr yn eu caredigrwydd ar y pryd, ond nid cymmaint yn y danteithion, er eu bod yn dda, ag yn yr ystyriaeth mai ad-daliad oedd am garedigrwydd a wnaeth ein hanwyl wraig iddynt draw. Ac uwch ben y cwpanaid tê, cofid am yr hen ystoriau, ein bod yn myned a'r dynion i'w

gwerthu, yn bwriadu eu hyspeilio o'u meddiannau, a llawer iawn o ddrwg ag y cyhuddid ni o fwriadu ei wneuthur; ond erbyn hyn, heb i ni drafferthu o'u plegid, mae y cyfan wedi eu profi yn hollol anwireddus, ac wele ninnau wedi cael byw ar ol llu o'n dyfeiswyr, i ddychwelyd i gael ein croesawu, nid am y pethau hyny, ond am garedigrwydd a wnaed, nid yma ond yno: mae hyn yn felys wedi y cyfan, a chredwn nad yw yr olwyn ond dechreu troi, ac ond i ni gael byw ychydig etto y dealla y werin mai eu hewyllysiwr da ydym, er gwaethaf ystoriau ein gelynion gau grefyddol. Drwg y ceidw y d——l ei was,-"Mwrdwr a ddaw allan," felly y gwir a ymddengys yn ei amser. Hyderwn gael aml wledd garuaidd etto o'r un natur, ac adgoffa yr hen chwedlau yn felys uwch eu penau, canys gwyddom mai felly y teimla pawb sydd yno.—GOL.]

---

## EFFEITHIAU TYBACO.

TYBACO, yn unol a threfniadaeth lysieuol, a berthyn i'r unrhyw ddosparth naturiol a *Atropa Belladonna*, neu gedawrach farwol, a *Datura Siramonium*, neu ddrain-afal gweinynig, y rhai ydynt yn mysg y galluocaf a'r mwyaf marwol o'r gwenwyn sur a chysbyd ag y sydd yn nheyrnas y llysiau; ac y mae olew hanfodol tybaco, fel hefyd dywalltiad o'i ddail, yn un o'r gwenwyn ffyrnicaf a wyddir am dano. "Mae yn eithaf hysbys fod llosg olew Tobaco yn wenwyn gweithgar, yn dwyn dirgryniad, gwahanboen, a marwolaeth," ebe Christison, yn ei waith ar wenwyn. Ceir amrywiol ffeithiau ac awdurdodau ar y pethau hyn, a dyfynaf rai o honynt.

Yn unol â Dr. Waterhouse, lleolodd Linnæs, yn ei drefniadaeth naturiol, y tybaco yn nosparth Luridæ, yr hyn sy'n arwyddys gwelw, ellyllaidd, dulas, gresynol, ac angeuol. "I'r un dosparth drwg-argoelus," ebe ef, "y perthyn dail bysedd y cwn bela, y gedawrach farwol, a phlanhigion gwenwynig ereill, yn dwyn yr enw dychrynllyd, *Atropa*, un o'r ellyllon. Pan gymmerir tybaco i'r cylla y waith gyntaf, erea anloesygiad a gwrthwynebedd atgas i'r eithaf. Os ei llyncir, enyna ddirgryniad gorthrechol yn y cylla a'r coluddion i fwrw allan y gwenwyn naill ai at i fyny neu at i lawr. Os na fwrir hyn allan yn fuan ac yn hollol, dwg anesmwythder mawr, pendro, llewygon, a syrthiad yr holl synwyrau; ac mewn rhai amgylchiadau canlynodd marwolaeth.

Ychwanegodd, "Olew y planhigyn hwn sydd o'r gwenwyn llysieuol cryfaf, yn gymmaint ag na wyddom am unrhyw anifail a ddichon wrthwynebu ei effeithiau marwol. Dywed Dr. Waterhouse, yr hwn a gafodd ddigon o gyfleustra i sylwi, "Ni sylwais erioed i mi weled cynnifer o nodau dihoeniad iechyd, neu ni wybum erioed am gynnifer o arferion annyspeidiol, a nwydau nychol, ag yn y blynyddoedd diweddar; ac yr wyf yn olrhain yr ymosodiad brawuchus hwn ar gyfansoddiadau ieuainc yn benaf i'r ddefod niweidiol o fygu gwefuslys (sigâr).

Y Dr. Wood, un o awduron y llyfr a elwir "*Dispensatory*," a ddywed am *nicolia nicotin*, neu *nicotina*, sef elfen wenwynig tybaco, "Y mae yn un o'r gwenwyn ffyrnicaf sydd yn hysbys; dyferyn o hono, mewn cyfiwr o ddatodiad cyd-gyfarfodol, sydd ddigon i ddinystrio ci; a threngai adar bach herwydd agoshau pibell yn ei gynnwys atynt.

Nid anfynych yr analluogodd milwyr eu hunain oddiwrth ddyledswydd drwy gymhwyso dalen tybaco yn llaith at gamedd y fraich, yr hyn a achosa ymollyngiad mawr a chyfogiad, ac afiechyd ffyrnig ar ol bwyta.

Achoswyd ymollyngiad a ffieidd-dod, wrth ond dodi rhan o'r llaw am ychydig fynudau, mewn gwlych cryf o tybaco.

Dywed Orfila, ysgrifenydd Ffrancaidd enwog ar wenwyn, "Cymhwysodd gwraig at benau ei phlant, herwydd afiechyd y penglogau, îrad wedi ei barotoi gyda llwch tybaco ac ymenyn: yn fuan wedi hyny, teimlasant bendro, cyfogiad ffyrnig, a llewygon, yn gydtynedol a chwys traulfawr."

Gwybyddwyd lawer gwaith, am drwyth a wnaed o ychydig ronynau tybaco, a roddid at esmwythau cwlwm gwythi, iddo beri dinystrio bywyd.

*I'w barhau.)*

---

## LLYTHYR O'R AMERICA.

*Minersville, Mai, 1, 1854.*

Anrhydeddus a Pharchus Frawd Capt. D. Jones,—Wedi hir oedi wele fi yn defnyddio yr adeg bresennol i ysgrifenu yr ychydig linnellau hyn atoch, er profi i chwi ychydig o'n helynt yn y lle hwn, gan daer erfyn a dymuno arnoch chwithau ateb yn

ol mor fuan ag y cewch gyfleusdra, canys y mae fy enaid yn sychedu am newyddion o blith y Saint yn mhob man, fel y sycheda yr hudd am afonydd dyfroedd, ac yn neillduol oddi wrthych chwi anwyl frawd Jones, ac o blith fy nghyd-genedl; canys chwi a fu yn offeryn yn llaw Duw i'm dwyn o dywyllwch i oleuni, o feddiant Satan at y gwir a'r bywiol Dduw, &c.

Dymunwn glywed pa faint o lwyddiant sydd ar y gwirionedd yn Nghymru yn y dyddiau presennol, ac am ddaioni a rhyfeddodau Duw yn eich plith fel Cenedl; cymmaint ag alloch o'ch helynt yn mhob ystyr, canys fel dwfr oer i enaid sychedig yw newyddion da o wlad bell genyf fi.

Yr wyf yn y lle hwn er ys 7 mis, ac yr wyf wedi sefydlu Cangen yma er y 6fed o Hydref, 1853. Yr ydym yn bresennol yn 15 o rifedi, a'r swyddogion ydynt 5 o henuriaid, a 2 o offeiriaid.

Hyd yma, nid ydym yn cael fawr ddrysau yn agored i bregethu, na chwaith fawr argoelion am lwyddiant ar yr ychydig ag ydym yn lafurio yn ein tai. Ond y mae Duw yn cyflawni ei addewid yn ein plith fel Saint, trwy gyfranu yn barhaus o'i Ysbryd Glân i raddau helaeth, yr hwn sydd yn ein hadeiladu, yn ein cynghori, ac yn ein cysuro, yn ngwyneb holl ŵg, gwawd, a dirmyg rhith-grefyddwyr yr ardal.

Y mae fy ngweddi ar Dduw yn barhaus am roddi i ni o'i Ysbryd Glân er ein cadw gyda'i waith o hyn hyd y diwedd, ac y gwelir ei holl Saint ar frys wedi ei cydgasglu ar fynydd Seion, lle y cânt eu gwaredu rhag y dystryw mawr a'r aflwydd a ddaw ar Babilon.

Yr eiddoch yn y Cyfammod Newydd,

THOMAS M. RICHARDS.

---

## LLYTHYR Y LLYWYDD DANIELS.

*Penlan Noeth, Mai* 13.

MR GOL.—Ar ol i'r frwydr fyned heibio yn Aberystwyth, dychwelais fy nghleddyf i'r wain, a daethym hyd yma, a chefais frwydr drachefn. Y newydd cyntaf a gefais braidd, oedd clywed am y llythyr a dderbyniodd David Davies, Crugerydd, gerllaw Talgareg, oddiwrth ei fab o New Orleans, yr hwn a ddarluniai ddull y Saint yn mhlith eu gilydd yn y llong wrth fyned ffwrdd

o'u gwlad. Dywedai eu bod mor gynted ag yr elont allan o olwg y tir, yn dattod priodasau Babilon, ac yn eu gwneyd o'r newydd yn ol meddwl y llywyddion; a'u bod yn gosod hen wr a merch ieuanc gyda'u gilydd, a mab ieuanc a hen wraig gyda'u gilydd, a bod y merched ar dori eu calonau wrth weled y fath beth, ond bod yn rhaid ufyddhau, a llawer hen wr yn cymmeryd dwy ferch, ac yntau yn y canol, gan ddweyd, "Mawr yw ein cariad ni y Seintiau at ein gilydd." Mae llawer o bethau gwarthus ereill yn y llythyr; dyweda mai merch o dref Aberystwyth a roddodd yr hanes yna iddo ef, yr hon a gafodd y fraint fawr o ddianc trwy ei gymhorth ef a'r heddgeidwad i gael ei dillad.

Yr oedd y stori yna wedi cael ei chredu trwy yr ardal o'r bron, a'r bobl wedi myned i'r fath greulonder, nes cynllunio ladd y Saint a llosgi eu tai o'r bron, fel na allent dwyllo rhagor o bobl ddiniwed. Wedi gweled y fath eiddigedd, cychwynodd y brawd Evans a minnau yn foreu i Crugerydd, a phrofasom yn amlwg iddo mai lluniwr celwyddau oedd ei fab, a bod llythyr oddiwrth y ferch yn ddigon i brofi ei fod yn ddyn celwyddog, a gwnaethom iddo addaw i ddangos mai celwydd oedd. Yn y prydnawn yr oedd neithior yn y gymmydogaeth, aethom yno, ac eglurhasom y peth yn ngwydd torf. Trechwyd y celwydd yna drachefn.

Y mae y brawd Evans a minnau bob nos yn pregethu, ac o dŷ i dŷ ar hyd y dydd. Y mae gwell argoelion am fedyddio yma yn awr nag a fu o'r blaen; y mae tri wedi addaw ufyddhau nos Fercher, ac hyderwn y daw llawer yn fuan. Y mae galwad ar i mi fyned i Cellan nos Lun, a nos Fawrth i Llanybydder; yr wyf mewn ffydd gadarn i fedyddio rhai, ac i ddychwelyd ereill i ffordd Duw o achub. Byddaf tua Brachfa a Feliogwm y Sul, a bwriadaf fedyddio yno hefyd; mi a af oddiyno wed'yn i Gaerfyrddin.

Mae y brawd Evans a'i wraig yn uno gyda mi i gofio yn garedig iawn atoch, ac at eich teulu, a'r oll, ac y mae y Saint yn mhob man yn cofio atoch.

Yr eiddoch yn y gwir,

D. DANIELS.

---

# UDGORN SEION,

NEU

**Seren y Saint.**

DYDD SADWRN, MEHEFIN 3, 1854.


## MARWOLAETH EIN HANWYL FRAWD WILLARD RICHARDS.

Ein gorchwyl galarus yw hysbysu fod y gwron galluog Willard Richards wedi marw, yn ei annedd yn Ninas y Llyn Halen Mawr, o'r Dropsy, ar yr 11 o fis Mawrth diweddaf. Yr achlysur a'i galwodd o'i dy am y waith olaf oedd i gyflawni ei swydd bwysig fel Llywydd prif Gynghorfa y Wladwriaeth. Mynych y rhag draethai wrth ei gyfeillion fod ei ymddattodiad yn agoshau, ac yn ei ymegniad olaf i gyflawni ei swydd dywedodd, "myfi a af ac a gyflawnaf y ddyledswydd olaf hon, pe, fel John Q. Adams, y byddwn farw yn yr ymdrech." Yn ei gyfarchiad olaf i'r Cynghor dywedodd, "y mae angau yn syllu yn fy wyneb yn aros am ei ysglyfaeth." Y Palsy, yr hwn a'i dilynodd er pan y dechreuodd ei yrfa i chwilio i mewn i, ac i ddilyn llwybrau gwirioneddol ac ufyddhau i drefn Duw, o'r diwedd a gynnorthwywyd gan y Dropsy i ennill buddugoliaeth a thyrfynu gyrfa ddaearol un o brif gedyrn Israel, yn ngwyddfod teulu caredig a lliosog, a lluaws o gyfeillion anwylaidd, â y rhai cydymdeimla yr Eglwys yn helaeth yn eu gofid megys ag y cyfranogant o'r golled ar ei ol, nid yn Utah yn unig ond yn mhlith holl genedloedd y byd, lle y cyrhaeddodd cyfraith Duw o Seion.

Ei gariad at, a'i ddirnadaeth gyflym o wirionedd a'i gorchfygodd i ymchwilio i egwyddorion yr efengyl—y cymhwysderau hyn a ynddysglrerient yn amlycach drwy ei oes, yn gyferbyniol i'w ymdrechiadau parhaus a'i ddewrder i amddiffyn gwirionedd a chyfiawnder yngwyneb pob peryglon a

godent i'w gyfarfod y rhai nid oeddynt ychydig nac anaml, fel y gwelir wrth yr hanesyddiaeth Eglwysig.

Ni allasai talentau mor fawrion, etto mor ostyngedig, a meddwl mor alluog a chynnwysfawr, yn y cyflwyniad ffyddlon a thrwyadl o honynt i adeiladu teyrnas Dduw, ddianc rhag craff olygon y Prophwyd merthyredig. Yr oedd efe yn gyfaill mynwesol i Joseph. Pleser yw adgofio ei ymdrechiadau i argyhoeddi y terfysglu o'r anwireddau a'u cynddeiriogent yn rhuthr olaf Carthage—cofus ei ymddyddanion yn y carchar gydag ef y noson olaf y bu byw ein hanwyl Brophwyd, tra ereill o honom yn gwylied y drws rhag rhuthriad llofruddion i mewn yn nghanol y nos, Willard Richards yn ddiwyd, a'i dalentau bywiog a ysgrifenai amddiffyniadau o'i fywyd diniwed, nes i'r ganwyll olaf a fe ldid ei adael yn y tywyllwch. Yn ddiddychryn dilynai ef trwy ganol terfysglu o filoedd a sychedent am ei waed; tra yn y carchar, fel yn mhob man, er mwyn yr Eglwys ac achos gwirionedd ei ymgais oedd, nid rhyddhau ei hunan ond y Prophwyd. Pan aethom allan o'r carchar ar ei gais i hysbysu y Llywydd Ford, yn y boreu, fod brâd yn wybodus i ni yn erbyn eu bywydau ac y fod angen amddiffyniad—a phan wrth geisio myned yn ol y rhwystrodd y milwyr ni i fewn, yr oedd genym lythyr i'r brawd a gorfuwyd ef i ddyfod allan i'w ymofyn; cofir yn burion deimladau ei galon pan y deallodd nad oedd amddiffyniad iddynt gael—yn ddisyfl ymddiriedai yn Awdwr y grefydd a amddiffynai, a'i ddywediad oedd "achubwch eich bywyd eich hun gofala Duw drosom ni." Pan yn mhen ychydig oriau wedi hyny y cwympodd Joseph a Hyrum o tan gawod o fwledi, un defnyn o'i waed yn unig a gymmysgodd â gwaed eu calonau hwynt. Pan lifai gwaed merthyron Iesu yn gymmysgredig â gwaed y Brawd Taylor, yr hwn, heblaw ei hunan, yn unig a ddiangasant yn fyw, pan chwyrnellai y bwledi fel cenllysg o amgylch drwy y ffenestri, a phan y rhuai bonllefau cannoedd o anghenfilod a liwiasent eu gwynebau erbyn y gigyddfa, ynghyd a thrwst arfau a chleciad eu drylliau drwy y mûr, cafwyd yn Willard Richards grynodeb o alluoedd digonol i wynebu yr amgylchiad yn wrol,—i ymladd â ffon, ffroenau drylliau a enelent at ei galon; pan gwympodd ei gyfaill goreu drwy y ffenystr ar fidoganau ei elynion, ei ben yntau

a'i dilynai nes gweled diwedd yr hwn a garai mor fawr. Do, danghosodd ef y fath ragwelediad,—amynedd a doethineb anghydmarol drwy yr holl amgylchiad fel nad anghofir.

Cofus genym ymddygiad mawreddog y Dr. W. Richards wedi dychwelyd cyrff y merthyron i Nauvoo, a thra yr oedd miloedd yn cadw galar wyl nes yr ymnofiai y lle braidd mewn môr o ddagrau, a phan ymgeisiodd bradwyr anheilwng grafangu awenau y llywodraeth yn absennoldeb y deuddeg; efe a dderchafai ei lais nes crynu torfeydd, megys wrth ruad llew yn y goedwig, a dychrynodd teyrnfradwriaeth rhag ei wydd. Adleisiai ei lais yn mysg bloedd y doethion a'r galluog nes synu torfeydd wrth ei ddoeth gynghorion, a llawenychai plant Seion drwy ei holl ddyffrynodd a'r byd yn ei dadol ofal am eu llesiant, pan ddarllenent golofnau y "Deseret News," o tan ei olygiaeth gampus. Eithr y mae ei lais wedi distewi yn awr ac hyd nes y mwynber gymmysga â llais telynorion yr adgyfodedigion,—gorphwysa gyda ei dadau, hyd nes gyda yr eiddynt hwythau yn nefolaidd lu, y dadebrant wrth floedd yr Archangel ac Udgorn Duw; ydyw, y mae y ffyddlon Frawd Willard, ar ol ymdrechfa ffyddlon, o chwaneg na 18 mlynedd o blaid achos Duw, yn yr hyn yr ennillodd goron aniflanedig, drwy yr holl erlidigaethau chwerwon, y llofruddiadau a'r alltudiadau gyda'r Eglwys yn Ohio, Missouri, Illinoes, &c., ac wedi megys rydio afonydd o waed, y mae ei draed heddyw wedi sengu gororau euraidd, lle yr hir ddysgwylid ef gan Joseph a Hyrum, a llu o ferthyron Iesu yn mhlith Eglwys y cyntaf anedig. Heddwch fo i'w lwch, ac anrhydedder ei goffawdwriaeth.

Llanwai Willard Richards amryw swyddau pwysig ac anrhydeddus. Yn 1848 dewiswyd ef yn ail gynghorydd i'r Brif Lywyddiaeth; 11 yn flaenorol dewisasid ef trwy ddadguddiad drwy Joseph y Gweledydd i gorwm y deuddeg apostol. Enwogodd ei hun drwy ei fedrusrwydd fel Hanesydd Eglwysig am flynyddau. Llanwodd y swydd bwysig o brif Ysgrifenydd Talaeth Deseret, a dysgynodd y rhan fwyaf o oruwchwylion yr un swydd yn Nhiriogaeth Utah arno, a Llywyddai ar y Cyngor gwladol yn y cyfamser. Efe oedd Prif oruchwylydd llythyr swyddfa y Diriogaeth—Perchenog a Golygydd y *Deseret News*, galarwisg colofnau yr hwn a ddanghosant fod y llaw a'u hysgrifenent yn gorwedd yn y beddrod, fod eu hawdwr wedi

rhoddi ei le i arall; yr hyn a'n coffha ni oll mai ein gyrfa ninnau yw hi, a chaffer ni yn teilyngu yr un wobr a Willard pan y galwer arnom.

Ymdrechwn iawn brisio y Llywyddiaeth sydd yngweddill arnom ac anrhydeddu eu cynghorion megys y gwnaeth yntau yn ddieithriad,—ein llygaid ni, fel y bu yr eiddo yntau a fyddo yn edrych i fynu atynt, ac yn dilyn ol eu traed caffer ein camrau nes diweddu ein gyrfa; ac yna ni bydd perygl ar na chawn fwynhau eu cwmni hwy a holl ffyddlon weision Iesu yn ngwlad y gwawl, lle na bydd dolur, poen, na gwae, na neb yn tynu yn groes yn dragywydd, ond pawb o unfryd calon yn moli yr Oen a'n gwnaeth ni yn Freninoedd ac yn Offeiriaid i Dduw ac a roddes i ni gydag Ef deyrnasu AR Y DDAEAR!

---

NEWYDDION O DIRIOGAETH UTAH.—Y gledrffordd o'r Taleithiau i'r Mor Tawel yw un o brif destunau ymddyddanion drwy y wlad, cynnelir cyfarfodydd cyhoeddus, lle y danghosir y manteision a ddeilliau i'r Diriogaeth drwy hyny, ac y mae y gobeithion o lwyddiant i gael y gledrffordd drwy eu dyffrynoedd breision hwynt yn lloni calonau y trigolion. Mewn gobaith o hyn geilw y Llywydd Brigham Young ar holl drigolion y dyffrynoedd i ymroi codi yr holl lafur a allant o'r ddaear, ac i adeiladu ystordai i gadw eu gweddill erbyn y del y galwad mawr a ddysgwylia fydd am bob cynnyrch, oddiwrth weithwyr ar y rheilffordd newydd hon. Mae y mûr o amgylch y ddinas yn cynnyddu yn gyflym, pump rhan o chwech o hono wedi ei gwblhau mewn rhai dosbarthiadau; mwynheir iechyd da, undeb cyffredinol, heddwch a ffyniant tymhorol ac ysbrydol drwy yr holl ddyffrynoedd heddychlon hyny; gwyn fyd eu preswylwyr.

Mae amddiffynfeydd newydd a chryfion yn cael eu hadeiladu yn y sefydliadau deheuol; y gwaith haiarn yn llwyddiannus. Mae y Llywydd O. Hyde yn bur llwyddiannus yn gwneuthur sefydliad newydd ar yr Afon Werdd. Cafodd y Saint yn Parowan y fraint o achub bywydau y teithiwr enwog drwy y mynyddoedd creiglyd, sef Col Fremont a'i osgordd, rhag marw o newyn; yr oedd 8 o Americanaid gydag ef a thua yr un nifer o Indiaid, teithiasant dros fynyddoedd eirawg am dros 40 niwrnod heb ymborth amgen na'r mulod a drengent o tanynt, a'r rhai hyny mor brin fel eu gorfuwyd hwynt i wneyd

defnydd o bob rhan o'r anifail a llosgi yr esgyrn a bwyta eu lludw. Pan gyrhaeddasent i blith y Saint yr oedd rhai o honynt yn mron a marw ac ni allasent fyned yn mhellach; cawsant bob caredigrwydd ac ymgeledd, fel, yn mhen ychydig wythnosau galluogwyd hwynt oll i fyned i'w ffordd yn llawen ac ymborth gyda hwynt, gyda theimladau diolchgar am garedigrwydd Mormonaidd. Amcan Mr. Fremont yw cael allan y ffordd oreu i wneyd y rheilffordd o'r Taleithiau i California.

---

NEWYDDION CARTREFOL.—*Dwyreiniol Morganwg*,—Mae cyffroad adnewyddol drwy y Gynnadledd hon,—y brodyr yn awyddus a selog yn pregethu allan—torfeydd yn gwrandaw yn syml ac ymchwilgar, traethodau yn cael eu dosparthu y rhai sydd yn dwyn effaith ddaionus, ac amryw fedyddiadau heblaw addewidion am fedyddiadau cyhoeddus am Suliau yn mlaen llaw. Gwelir y Saint yn ymgasglu i'r cyfarfodydd yn fwy lliosog, a'r canlyniad yw fod Duw yn eu bendithio a'i ddoniau yn helaeth; ac y mae y cangenau yn lled gyffredinol yn rhoddi eu bryd ar adgyweirio y rhai llesg a chael pob aelod i un o ddau ddosbarth cyn y Gymmanfa ddyfodol. Hyderwn yr efelychir hwynt ac na adewir neb heb ymweled a hwynt, os esgeulusant eu dyledswyddau, a bendith fo ar eu hymweliadau.

*Gorllewin Morganwg.*—Hysbysir ni fod yr argoelion yma yn cynnyddu, ffydd y brodyr i bregethu a dosparthu traethodau ac y fod cynnydd cysson yn gyffredinol, yn enwedigol dywed yr Henuriad J. Bowen, o'r Pyle, fod y cylchoedd hyny wedi myned megys a'r dân o gŵr bwy gilydd, drwy ddiwydrwydd y swyddogion yn pregethu, a'r traethodau. Fel arferol, pan ddeffroir y gonest i ymchwilio am y gwir, gŷr y gelyn ei *bedlars* a lloned eu ffetanau o hen a newydd gelwyddau i ddiflasu y bobl a dirmygu plant Duw, felly yma; a'r offeryn a ddefnyddia y tro hyn yw un o Bregethwyr Methodistiaeth! A'r dyll y rhyfela yw drwy chwythu bygythion a chelaneddau yn erbyn y Saint a chyhoeddi eu bod tu hwnt i gael maddeuant byth,—aflonyddu eu cyrddau, &c. Druain o honynt, rhy ffol fyddai digio wrth eu bathau, ni wyddant beth maent yn ei wneuthur; nid oes nemawr flynyddau er pan oeddem mor ffoled ein hunain, a'r hen nwyd Fethodistaidd yn chwyddo ein gwythienau, rai o honom, hyd nes fel Saul o Tarsus gynt, tybiem mai

gwasanaeth i Dduw oedd erlid ei anwyl blant. Oddiar law eu dysgawdwyr y gofynir graddau helaeth o waed gwirion eu hudoledigion yn ddiau: er hyn oll bendithia Duw ei Saint â mwy-fwy o râs a nerth i dduwiol fucheddu, ac mae yn agoryd llygaid ereill i weled trefn yr achub er gwaethaf pob gwrthwynebiad.

*Penfro Ddeheuol.*—Cynnaliwyd y Gymmanfa hon, yn Mhenfro, Sul Mai 21. Cydunwyd yn unfrydol i gynnal holl awdurdodau yr Eglwys o Seion drwy ei holl gylchoedd perthynol. Cynnrychioliwyd Cang. 13, Hend. 30, Off. 6, Ath. 8, Dia. 8, Cyfan 208. Cafwyd addysgiadau dyddorol gan y Llywyddion Jeremy, Price, J. J. Phillips ac ereill, a mwynhawwyd amlygrwydd mawr o bresennoldeb Ysbryd yr Arglwydd er gorfoledd i'r Saint.

*Sir Fflint.*—Bu y Gymmanfa hon Sul y 14eg o Fai yn y Cefn Mawr, wedi arwyddo cymmeradwyaeth o'r Llywyddiaethau Eglwysig, cafwyd fod yno Cang. 5, Hend. 19, Off. 5, Ath. 5, Dia. 2, Bed. 6, Cyfan 113. Cafwyd gwrandawiad astud a lliosog i ddarlithau hyawdl gan y Bugail Parry, y Llywydd Evans, Jones, a'r Henuriad Robert Parry, yr hwn a groesawwyd yn fawr gan ei hen gydnabod. Hyderir fod effeithiau i ganlyn y Gymmanfa, a fydd yn bleserus gan y brodyr ffyddlon hyn eu mwynhau, a chan Dduw eu bendithio.

*Dyffryn Conwy.*—Mewn llythyr diweddar hysbysa y Llywydd R. Roberts ni, fod gwell argoelion drwy faes ei lafur, ar fyd ac Eglwys nac a welodd o'r blaen—undeb a chariad, a rhai oedd yn yr Eglwys er's blynyddau newydd dderbyn doniau yr Ysbryd Glân. Bedyddiasid 4 yn ddiweddar ac amryw addewidion i ddod yn fuan—crefyddwyr ac ambell bregethwr yn cyfaddef nad ar deyrnasoedd pellenig yn unig y tywalltwyd Ysbryd ond rhyfel ar y capeli hefyd ffordd hyny, nes oedd y rhai a broffesent frawdoliaeth grefyddol yn teimlo ddigon digofus i flaen-llymu cleddyfau at eu gilydd. Pa ryfedd eu bod yn ymladd yn erbyn y Saint ynte? Rhaid, y mae yn rhaid cael gwell crefyddau nag a feddant hwy cyn byth y dysgir hwy i guro eu cleddyfau yn sychau, ac fel na ddysgant ryfel mwyach; os na ddwg heddwch mewn lloned capel pa fodd y llanwa y byd a heddwch? O, na, ofer dysgwyl y dwg dim llai nag Ysbryd Duw, heddwch i amdoi y byd, yr hyn beth ni fedd unrhyw

ddosran o'r Gristionogaeth a'i gorlifa yn awr. Mae galwad mawr am y gwirfoddiaid o'r deau i gylchoedd Arfon gan y Saint, a'r wlad yn gyffredinol yn galw am bregethu, a cheir cyflogau uchel a digon o waith yn y cylchoedd hyny; croesawiad mawr i'r Udgorn gan amrai o'r byd a lledaeniad arno. Hysbysa y Llywydd y gallai gael gwaith i amryw pe baent yno yn awr, a mawr ymholi "Pa bryd y deuant?" Gobeithiwn y cariant eu hatebiad eu hunain a'r fyrder, yw y cywiraf a allwn ddweyd yn awr.

---

Newyddion Tramor.—Yn Switzerland, er gwaethaf cynddeiriogrwydd y llywodraeth wladol ac eglwysig, y mae gwaith yr Arglwydd ar ei gynnydd yn y wlad goel grefyddol hon; ysgrifena yr Henuriad T. B. Stenhouse eu bod hwy wedi sefydlu cangen yn cynnwys 31 o aelodau yn nhref Turich ac wedi ordeinio amryw o ddynion gobeithiol i'r Offeiriadaeth. Canmola haelfrydigrwydd yr Anrhydeddus G. H. Goundi, Uchel-faer Americanaidd, yn fawr am ei hynawsedd yn ceisio rhyddhau yr Henuriad Mayer o'r carchar ei rhoddwyd yndd am bregethu, a chynnyg ein cynnorthwyo ag arian; ac ychwanegwn ninnau, yr Arglwydd a ad-dalo iddo ar ei ganfed. Mae y Brawd Mayer etto yn rhydd ac wedi bedyddio amryw mor gynted y daeth o'r carchar.

*Italy*—Sefydlwyd Eglwys i Dduw yn y wlad Babaidd hon yn ddiweddar, cynnwysedig o 19 o aelodau. a thywalltodd yr Arglwydd ei Ysbryd yn nerthol yn ei ddoniau arnynt nes peri i'w calonau fawr lawenhau yn yr efengyl. Ymdrecha yr Offeiriaid Pabyddol eu gwaethaf i'w rhwystro, ond er hyny oll y mae cryfach braich o'u plaid, a llwyddo y maent fwy-fwy.

*Ynysoedd Sandwich*--Mawr y cynnydd sydd ar yr achos goreu yn yr Ynysoedd hyn; mewn ychydig fisoedd wedi i'r Henuriaid landio ar Ynys Honolulu, lle y ffoisent rhag erlidigaeth a gynhyrfwyd i'w herbyn gan Genhadon Sectyddol, bedyddiasant 400 mewn un man, heblaw llawer mewn parthau ereill o'r ynys.

A'r ynys Hawaii, bedyddiwyd dros 200 mewn daufis; yn ynysoedd Maui a Molokai y mae ychwanegiadau rhyfeddol at yr holl Eglwysi; er y Gymmanfa flaenorol cynnyddodd rhifedi y Saint dros 2000, ac argoelion fod llu wrth y drws. Mae Henur-

iaid yn awr a'r bob un o'r ynysoedd hyn, a'r Arglwydd yn cydweithio a hwynt yn rymus. Er mor ddwfn yr oedd eulunaddoliaeth wedi greddfu yn y trigolion hyn, y mae Ysbryd Duw, drwy nerthol weithrediadau ei ddoniau grasusol yn gallu ei ddiwreiddio ac yn planu ffydd nerthol yn eu calonau, fel nad oes nemawr neb o honynt yn ymofyn meddygon pan yn glaf, eithr drwy weinyddiad yr Henuriaid derbyniant iechyd yn rhyfeddol, hyd nes y mae son am hyny a gweled y gallu mawr dwyfol yn creu awydd yn y byd yn aml am i ni weinyddu arnynt.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg ar y 25ain o Fehefin; Mynwy ar yr 2il o Orphenaf; Brycheiniog ar y 9fed; Gorllewin Morganwg ar yr 16eg; Llanelli ar y 23ain; Caerfyrddin ar y 30ain; Aberteifi ar y 6fed o Awst; Gogledd Penfro ar y 13eg; a Deheu Penfro ar yr 20fed.

☞ Coffhawn Lywyddion y Cynnadleddau Cymreig yn brydlon o barthed i'r Cynnrychioliad Hanner Blynyddol, ynghyd a'r cyfraniadau at y Deml a'r Gymdeithas Ymfudol Barhaus; cofier ein bod i'w hanfon oddiyma yr 28ain o'r mis hwn. Anfoner enwau y Cangenau a'r prif Drysorwyr ar gyfer y cyfraniadau at y G. Y. Barhaus, ac enwau Trysorwyr cyfraniadau at y Deml o bob Cynnadledd. Dymunwn atebiad i'n cais blaenorol hefyd o bob Cynnadledd, sef, pa sawl un o'r *Star* a'r UDGORN oedd ar law diwedd y flwyddyn, a pha sawl un sydd heb eu gwerthu yn awr?

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MAI 27 HYD MEH. 1.—Gogledd Penfro, £1 5s; Caerfyrddin, £1 8s; Llanelli, £2.—*Cangenau Dwyr. Morganwg*—Llanfabon, 7s 7c; Hirwain, 2s 5c; Georgetown, 4s 6c; Merthyr, 12s; Gwernllwyn, 8c; Troed-y-rhiw, 3s; Pontypridd, 10s.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 22.] MEHEFIN 10, 1854. [CYF. VII.

## ANNERCHIAD

### AT OFFEIRIAID, PARCHEDIGION, PREGETHWYR, A HOLL ATHRAWON CREFYDD YN NGHYMRU.

BARCHUS FONEDDIGION,—Dwys ystyriaeth o'r pwysigrwydd o addysgu y meddwl dynol mewn pethau a sefydlant ei dynghed dragywyddol, yngwyneb y ffaith y "dwg Duw bob gweithred i farn," ac mai yr hwn a drosedda un o orchymynion Crist, ac a ddysga i ereill wneyd felly, lleiaf y gelwir ef yn Nheyrnas nefoedd, ynghyd a mawr awydd i chwi ddeall y gwirioneddau dwyfol, llesiol a phwysig a wybyddir genym ni, a'n cymhellodd, ïe, a'n gorfododd i alw eich sylw at yr hyn a ganlyn:—

Y mae Duw wedi anfon cenadwri o'r nef i drigolion daear yn ein dyddiau ni. Na thaflwch y traethawd bach hwn o'ch llaw fel yn annheilwng o'ch sylw; canys y mae yn ffaith fod Duw wedi llefaru drwy anfon un o'i genadon angylaidd i'n daear a chenadwri rasol a phwysig oddiwrtho Ef; mae hyn yn wir, ac yr ydym ninnau yn *gwybod hyny*! Gwirionedd diwrthbrawf yw hyn, gwirionedd ag y dangosir yn y traethawd hwn y modd y gallwch chwithau ei *wybod* felly, drwy ffeithiau mor anwrthwynebol â'r rhai a'u profasant i ninnau.

Gwirionedd pwysig yw hefyd, y fod dedwyddwch presennol a thragywyddol pob un a glywo, neu a gaiff gyfle i glywed y genadwri hon, yn ymddibynu ar ei ufydd-dod iddi; ac mai yn ol ei ymddygiad atti y sefydla ei Hawdwr dwyfol hi, dynghed yr oll a allant ei chlywed. Ar sail y ffaith o fod achubiaeth y

byd yn ymddibynu ar eu hufydd-dod i genadwri Duw drwy ei genadon yn yr oesoedd a'r goruchwyliaethau mynedol, cyfaddefa rhesymeg gymhariaethol gyd-bwysigrwydd y genadwri hon a'r eiddynt hwythau, os gwir ein tystiolaeth, ac nid ydym yn anwybodus o'r anhawsderau sydd ar y ffordd i gredu dwyfoldeb ein cenadwri, eithr y ffaith a brawf nad mwy y gorchwyl nag y meiddiwn anturio arno. Anturiaeth deilwng o anturiwr galluocach mae'n wir, deilwng o holl dalentau dynol ac angylaidd; o'ch plith chwi ynte, ymdrechwn gael rhai i fwynhau tystiolaeth ddwyfol o'r ffaith hon, ac hyderwn y byddwch alluocach i argyhoeddi ereill, sylfaenir ein hyder am lwyddiant ar eich proffes chwi o onestrwydd egwyddor, cariad at wirionedd, a'ch awydd i ufyddhau i Dduw ac i achub dynion.

Proffesir mai lleshâd ereill sydd mewn golwg gan bob urdd, gradd ac enwad yn eu hymdrechiadau crefyddol, a thra y teimlwn barch i, â chariad at bob ymdrech o blaid daioni yn gyferbyniol i gydwybodolrwydd yr ymdrechwr, etto, y mae yn wir rhy eglur i'w guddio, mai gwaeth waeth y dirywia ein cenedl po fwyaf yr ymdrechiadau a wneir o blaid 'Crist'nogaeth' yn eu plith; a pho fwyaf a enillir at y naill blaid lliosocach yw gelynion y blaid arall, yr hyn sydd mor andwyol yn ei ddylanwad hyd y cyrhaedda ag yw anfoesoldeb cyhoeddus a gwarthus y rhai ni phrosolytir at y naill na'r llall. Mae ffrwythau anghrefyddol crefyddau ein gwlad, ar ol rhai canrifoedd o gyfleusterau i'w profi, yn gorfodi miloedd i wawdio a diystyru crefydd yn hollol ac i haeru nad oes leshâd i'w gael drwyddi; ac onid casgliad naturiol, oddiwrth *gynnyddiant* y clefyd yw, aneffeithioldeb y cyffeiriau a weinyddir?

Caniataer mai awydd i lesoli eich gwrandawyr a'ch cymhella i'r oll a wnewch erddynt, eithr pa leshâd a allwch wneyd iddynt oni allwch eu cyfarwyddo i gael crefydd ddwyfol; na pha fodd y gallwch iawn gyfarwyddo ereill oddieithr eich bod yn mwynhau crefydd ddwyfol eich hunain? Mae *dwyfoldeb* crefydd yn profi unigolrwydd crefydd; mae unigolrwydd yr Awdwr yn profi naill a'i unigolrwydd crefydd neu Ei gyfnewidioldeb ei Hun. Os na chaniateir yr olaf, gorfodir i gyfaddef nad dwyfol, ond dynol, yw yr holl sectau a'r ffurfiau crefyddol drwy'r byd ond un. Gosodiad annhoblogaidd yw hwn mae yn wir,—dywediad a ddyry ddiwedd a'r boblogrwydd

yr hwn a'i dywedo; etto, y mae yn hollol resymol ac ysgrythyrol, ac yn boblogaidd yn y nef, a chan holl weision anfonedig Duw ar y ddaear. Pa un o'r oll yw y grefydd ddwyfol, a fyddo yr ymholiad pwysig, a chaffed ymchwiliad trwyadl a didwyll. Prawf y gwahaniaeth barnau sydd yn parhâu ar ol cymmaint o ymddadleu, pregethu, ysgrifenu ac esponio, gan gynnifer o wyr dysgedig ar y pen hwn, nad ffordd anffaeledig yw hono i gael gafael a'r grefydd ddwyfol; etto, nid yw yr amrywiaethau sydd yn rhanu ein cenedl yn groes bleidiau, yn gwrthbrofi unigolrwydd crefydd, namyn ffeithiau galarus o aflwyddiant yn yr ymchwiliad am dani, ac yn ein cymhell ni i chwilio am dani ar hyd rhyw ffordd arall, yr hyn a wnawn fel y canlyn:—

Cyfaddefir y fod crefydd ddwyfol yn hunan brofiedydd yn yr oesoedd mynedol, addefir hefyd fod anghyfnewidioldeb Awdwr a dyben crefydd yn profi anghyfnewidioldeb crefydd, yr hyn a orfoda i addef bod ammheuaeth crefyddwr o ddwyfoldeb ei grefydd yn brawf nad yw hi ddwyfol: y grefydd na ddwg brawfiadau o'i dwyfoldeb nid yw ysgrythyrol, o herwydd ni cheir hanes ynddynt am unrhyw wir grefydd yn un oes o'r byd ond yr hon y profai ei Hawdwr ei dwyfoldeb hi, i bob un o'i hufyddion, drwy ffeithiau eglurhaol; o ganlyniad, rhesymeg wirioneddol yw, mai mwynhad presennol o'r cyffelyb ffeithiau, drwy ufydd-dod i'r cyffelyb ammodau, a fyddant brawfiadau mor gadarn o ddwyfoldeb y grefydd a'u dygant yn awr a'r pryd hyny; canys pe gau y grefydd ni chymmeradwyid hi gan yr Hwn yn unig a ddichon gyflwyno dwyfol brawfiadau gwir grefydd: ei gymmeradwyaeth Ef o honi, ac nid tybiau na barnau doethineb ddynol a fyddo ein safon i brofi pa un yw y wir grefydd, o'r oll a broffesant fod yn gyfryw.

Pa brofion a ystyrir yn ddigonol o ddwyfoldeb crefydd? A ofynir am weled gwyrth i'r dyben hyny? Y rhai hyny a haerant mai dyben gwyrthiau oedd argyhoeddi anghredinwyr, a ddylent, er bod yn gysson â'u hunain, wneyd gwyrthiau er argyhoeddi y byd o ddwyfoldeb eu gwahanol sectau croesbleidiol ac anysgrythyrol eu hunain; canys ni chaniatawn ni mai gwneuthur gwyrthiau o flaen y byd yw ffordd Duw o argyhoeddi dynion; ond, ffordd y diafol yw ceisio argyhoeddi drwy weled gwyrthiau, efe oedd y cyntaf un a ofynodd hyny gan ein Harglwydd;—" *Os* Mab Duw ydwyt arch i'r garreg hon fod yn

fara," ebe efe; eithr, "dôs o'm hôl i Satan," oedd atebiad ein Harglwydd iddo, er mor rhesymol yr ymddanghosai ei gais i'r byd yn mhob oes o hono. Nid oes hanes am neb yn gofyn am arwydd er profi crefydd ond y cymmeriadau a gondemnir gan eu cydoeswyr o fod yn ddynion drwg: "Cenedlaeth ddrwg a godinebus, sydd yn ceisio arwydd," ebe Crist, a chan na cheir un enghraifft o'i fod Ef na neb o'i weision wedi ufyddhau i Anghrist, y prif arwydd geisiwr, mor bell a gwneyd gwyrth i'w boddio; nid felly, ebe rhesymeg gymhariaethol, y profir dwyfoldeb crefydd yn awr. Gan mai a'r Dduw yr ymddibynir am y prawfiadau, rhesymol yw ceisio y prawfiadau hyny yn ol yr ammodau ar ba rai eu haddawir, a'r ffordd hono oedd "drwy ffolineb pregethu" cenadwri, [ac nid drwy roddi arwyddion] "y gwelodd Duw yn dda gadw y rhai sydd yn credu" yr hyn a *glywent*, ac nid credu yr hyn a *welent*. Mae ffydd yn anhebgorol er cadwedigaeth, heb ffydd anmhosibl yw rhyngu bodd Duw, a sicrhâ yr ysgrythyrau y fod ffydd yn dyfod drwy *glywed* gair Duw, ac nid trwy *weled* gwyrthiau. Prophwydir yn yr ysgrythyrau y daw yr amser pan y gwna y diafol "arwyddion a rhyfeddodau mawrion," hyd y nod, y tŷn dân i lawr o'r nefoedd yngwydd dynion er profi mai gweision Duw yw ei weision ef, ac mai dwyfol yw eu cenadwri, yr hyn a brawf y gallai efe felly dwyllo y byd i gredu y gau yn wir, os gwneuthur gwyrthiau er arwyddion yw y ffordd i brofi dwyfoldeb crefydd. Eithr y mae mor eglur nad dyna y ffordd gywir, fel nad ymhelaethwn, ond cynnygiwn ffordd a ystyriwn yn hawddach, byrach ac eglurach o lawer, fel y canlyn:—Cyfaddefir gan holl Feibl-gredwyr, y mwynheid bendithion na allasai neb ond Duw eu cyflwyno, gan ufyddion y grefydd a addefir yn safon o wir grefydd gynt, a bod y bendithion hyny yn gyfryw ag na chaniataent i'w meddiannydd ammheu eu bodoldeb, ag na chaniatai ei reswm iddo ammheu dwyfoldeb y gyfyndrefn a'u rhoddodd yn ei feddiant; ac ni chaniatâ rheswm nac ysgrythyr i neb ammheu dwyfoldeb y grefydd a ddygai iddo yntau fwynhâd cyffelyb o'r cyffelyb fendithion yn awr.

Gan na anfoddlona neb a gredant yr ysgrythyrau,—a gredant anghyfnewidioldeb Awdwr crefydd, ynghyd a'r ffaith Philosophyddaidd, fod y deddfau disyfl a lywodraethant ei holl greadigaeth Ef, yn cyssylltu pob effaith wrth ei achos hanfodol, ni an-

foddlona y rhai hyny i benderfynu y pwnc pwysig hwn yn ol yr hyn a geir yn yr ysgrythyrau. Beth a ddywed yr ysgrythyrau oedd addewidion gwir grefydd? Ni raid dyfynu o honynt, yr hyn a raid fod mor hysbys i chwi ag yw yr addewidion gwerthfawr a lliosog ag a frithant eu tudalenau, ac ni ddysgwylir mewn llythyr mor fyr a hwn ond cyfeiriad atynt yn unig. Addawodd Awdwr mawr a Sefydlwr gwir grefydd y caffai ei ufyddion fwynhau dylanwadau ei Ysbryd Ef yn nerthol, effeithiau yr hwn a fyddai eu dwyn hwy oll i "undeb y ffydd," i gyd weled â'u gilydd mewn egwyddorion, ordinhadau, dyledswyddau a bendithion crefydd, drwy eu bod hwy oll yn cyd-weled ag Ef, y safon: achosai yr Ysbryd hwn hwy i garu eu gilydd â chariad dwyfol, o herwydd y cariad a fagai yn mhob un o honynt at wirionedd, a'r hwn a'u cymhellai oll i gyd ymdrechu â'u gilydd i ddwyn ereill i'r un Eglwys drwy wneyd yr un pethau, ac nid yn groes i'w gilydd i wahanol eglwysi, drwy wneyd pethau gwahanol; cyd-dystiai â'u hysbryd hwy eu bod yn blant i Dduw, drwy gyflwyno iddynt ddadguddiadau o'i ewyllys Ef—drwy ei ddoniau a chyflawniad o'i addewidion i'w blant yn unig, yr hyn a symmudai bob ammheuaeth o'u meddyliau o barthed i eu perthynas â Duw, ac o ganlyniad a symmudai drwy hyny bob ammheuaeth o barthed i'r gyfundrefn yr ufyddhasent iddi. Amrywiol oedd y ffyrdd y dylanwadai arnynt yn ol eu tystiolaethau eu hunain, eithr ei effeithiau yn mhob modd oedd eu tebygoli iddo Ef, yn gyfesur i rym y dylanwadau hyny; ar rai prydiau eu llygaid a welent olygfeydd ysplenydd o'r nefoedd a'i gogoniant, yr hyn ni allai llygaid anysbrydoledig eu gweled; portreadai ger eu gwydd bethau mynedol a dyfodol o barthed iddynt eu hunain, eu gilydd, teuluoedd, cenedloedd, oesau, a'r byd, yn hanesyddol, gwladwriaethol, a chrefyddol, yr hyn yw gweledigaethau. Oni fyddai mwynhâd o'r cyffelyb yn profi i chwithau mai dwyfol y grefydd a'u rhoddodd? Oni orfodid y galon i dystio, dyma grefydd ddwyfol, tra yr enaid yn pêr lewygu yn nysglaerdeb gogoniant y fath olygfeydd?

Gorlenwai yr Ysbryd hwn hwynt ar brydiau nes y defnyddiai eu tafodau i lefaru ieithoedd angylaidd, ac i draethu dirgeledigaethau yr Arglwydd, y rhai oeddynt anwybodus iddynt hwy heb hyny, yr hyn yw "llefaru â thafodau newyddion." Yr un Ysbryd a ddylanwadai ar arall i gyfieithu y llefariad hwnw yn

yr iaith ddeallus i'r gwyddfodolion, a thrwy hyny adeiledid hwy yn y ffydd—gorfoleddent yn y ddwyfol gymmeradwyaeth o honynt hwy a'u gwasanaeth drwy ymddarostyngiad eu Tad i gyfrinachu â hwynt felly, a chreai ynddynt benderfyniad adnewyddol i ufyddhau i'r gorchymynion a gaffent drwy hyny yn llin ar lin, yma ychydig, ac mewn cyfarfod Eglwysig arall ychwaneg wed'yn, yr hyn yw "cyfieithad tafodau." Pa fodd y dichon neb a fwynhauai y ffeithiau hyn ei hunan ammheu yr achos o honynt? Wel, dyma brawfiadau dwyfol o ddwyfoldeb crefydd. Byddai hyn yn ddadguddiadau uniongyrchol oddi wrth Dduw, i'w rhagrybuddio o beryglon a'u harosent, a'r dull i'w gochelyd, yn gysurol dan brofedigaethau, yn llawenhau eu calonau, yn cynnyddu eu cariad a'u gobeithion, ac yn cadarnhau eu tystiolaethau blaenorol, a'r oll yn eu santeiddio yn barhaus. Pan y byddent yn glaf, yr Ysbryd hwn, drwy eu hymarferiad hwynt â'r moddion ordeiniedig a'u hadferai i iechyd, oddieithr bod y cyfryw afiechyd i farwolaeth. Dyma oedd rhai o fendithion y grefydd a gyfaddefir yn ddwyfol ar sail ysgrythyrol; nid yw anwybodus i ni, yr ym ais a wnaed ac a wneir i argyhoeddi y byd o afreidiolrwydd y bendithion hyn yn awr, ac mai eu dyben y pryd hyny oedd "er sefydlu Cristionogaeth," yr hyn haeriadau a brofasom yn anysgrythyrol ac afresymol, mewn traethodau a elwir yr "*Hen Grefydd Newydd*," yr "*Eugrawn Ysgrythyrol*," a manau ereill, fel na raid ymhelaethu yma, ond dweyd y byddai y mwynhâd o'r bendithion hyn yn awr i chwi eich hunain yn ffeithiau mor anwadadwy o'r anghen o honynt, fel na chredech haeriadau holl ddynion byd eu bod yn afreidiol.

Foneddigion! Pwy yn eich plith, a fedd gariad at wirionedd —at hunan les, neu a fedd awydd am leshâd ereill ar na ddymunai â'i holl galon fwynhau y bendithion dwyfol hyn ei hunan, ar nad ymbleserai yn cyfarwyddo ei wrandawwyr i fwynhau yr unrhyw fendithion a'r unrhyw brofion o ddwyfoldeb eu crefydd? Pwy a ddichon feddwl fod ffurfiau heb y sylweddau hyn yn well yn awr? Na phwy a ddichon ddwys ystyried y pwysigrwydd o'r bendithion hyny a fwynheid gan y Saint cyntefig heb ocheneidio o'i galon i'r nef ei ddymuniad am eu cael? Argraffed Ysbryd y gwirionedd y dymuniad yna ar yr enaid fel na ddilër hyd nes ei chael; canys tystiolaethwn

mewn sobrwydd, a sicrhawn mewn gwirionedd fod y grefydd ddwyfol hono a ddygai y bendithion rhag-gyfeiriedig i'w hufyddion gynt wedi cael ei hadferyd o'r nef i ddynion yn ein dyddiau ni, ac y fod eu hufyddion hi yn mwynhau y cyflawniad o'i haddewidion yn awr megys y pryd hyny, a'n bod NI yn GWYBOD hyny! At y grefydd hon y crefwn am gael eich sylw manwl, eich hymchwiliad treiddgar iddi, a'ch cydymffurfiad â'i holl ofynion; yr hyn os gwnewch, tystiolaethwn yn ddyfrifol yn enw a thros ei Hawdwr dwyfol hi, y dyry Efe, ac nid nyni, dystiolaeth i chwithau megys ag y rhoddodd i ninnau, drwy ddim llai na mwynhâd o'r cyffelyb ddoniau, mai gwir Eglwys Dduw yw yr hon eich gwahoddwn yn serchus i ddyfod iddi. Dyma ffordd deg—ffordd râd a chyrhaeddadwy i bawb i brofi dwyfoldeb ein crefydd; ni ddywedodd neb erioed, ac ni ddywed neb rhesymol a fwynhaodd y doniau hyn, mai gweled gwyrthiau yw y ffordd oreu i argyhoeddi y byd o ddwyfoldeb cenadwri; am hyny, dywedwn hyn wrthych, un ac oll, deuwch a gwelwch fod doniau a ffrwythau gwir grefydd *yn awr i'w cael* YN Eglwys y Duw byw, ac nid *tu allan* i'w mhuriau. Nid yn unig deuwch a gwelwch, ond deuwch a *chlywwch*—deuwch a *theimlwch*—deuwch a chwi eich hunain a'u mwynhawch fel mai byw y Duw a'u haddawodd; ac fel mai byw yr Hwn a esgynodd i'r uchelder, ac a roddes y rhoddion hyn i'w Eglwys, y mae Efe yn eu cyfranu yn awr i'w blant. Pa wiw dadleu yn hwy—pa wiw ammheu gosodiad mor bendant, mor hawdd ei brofi trwy *ffeithiau*, yn wir neu yn gau. Nid gwiw dadlau o barthed i grefydd, canys nid dynol yw—eithr Duw sydd i brofi ei grefydd Ef yn wir yn mhob oes; ni bu yn ngallu dyn erioed i'w phrofi i'w gyd-ddyn, nac yn ngallu dyn na diafol erioed ei phrofi hi yn gau. Os ammheuwch ein tystiolaeth dewch a phrofwch hi drwy yr unig ffordd ddichonadwy, sef, drwy ei phrofi eich hunain yn amddifad o'r bendithion a addawwn, ac nid drwy haeriadau dibrawf a chwedlau anwireddus ein gelynion; y mae ein tystiolaeth o bwys digonol i deilyngu eich ymchwiliad iddi; canys, os gwir yw, genym ni y mae Unig Wir Eglwys Dduw, a bod allan o honi yw bod yn amddifad o wir grefydd, yr hyn a'ch amddifadai o fywyd tragywyddol. O'r ochr arall, os gau yw, y mae yn hawdd ei phrofi hi yn gau; ac felly, nid oes achos dadleu dim o barthed i'n crefydd, ac nid oes

raid i neb yn y wlad aros mewn petrusder meddwl a'i gwir a'i gau yw hi, o herwydd prawf ei Hawdwr hi i'w ei hufyddion gwirioneddol mai dwyfol yw, ac ni all ei hanufyddion, pe meddent ddoethineb y byd i gyd, ei phrofi yn gau.

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MEHEFIN 10, 1854.

HANESION CARTREFOL.—Newyddion gorfoleddus a'n cyrhaeddant yn feunyddiol am lwyddiant Teyrnas Dduw, ac ymddengys oddiwrth yr oll, fod y byd yn ymddeffroi yn ganmoladwy iawn i wrandaw y genadwri ddwyfol a grasol a anfonodd Duw atynt,—heidiant ynghyd wrth y cannoedd, meddir i ni, nid i wawdio a diystyru fel yn yr amser ag y credid camgyhuddiadau gau grefyddwyr yn ein herbyn ni a'n crefydd; mae y noddfäau hyny wedi diflanu ymaith i raddau helaeth o flaen yr ail feddwl mwy rhesymol, ac yn profi nad oes anghen dim ond, i'r ymchwiliwr am y gwir, glywed ein hegwyddorion er deall mai o herwydd eu rhesymoldeb a'u Hysgrythyroldeb y mae gau grefyddwyr yn eu camddarlunio a'u goganu gymmaint, ac nid o herwydd y teilyngant hyny. Clywwn yn fynych am dorfeydd o wrandawwyr siriol lle y mae bedyddiadau cyhoeddus, ac y mae ymgasgliad cangenau cymmydogaethol i gynnal cyfarfodydd cyhoeddus yn ddylanwadol iawn i ennill gwrandawiad ein cyfeillion o'r byd.

Yn mhlith yr ymdrechiadau canmoladwy ereill a wna y Saint i achub eu cymmydogion, nid y lleiaf eu heffaith yw Traethodu, yr hyn a brofir trwy fod y byd yn ymholi am danynt, yn diolch am danynt drwy dalu, ac yn rhyfeddu yn fawr pa le y bu y Saint er's llawer dydd bellach, heb ddyfod a'u Traethodau oddiamgylch. Er cymmaint o effeithiau daionus a welwn ni, etto nid oes neb ond yr Hollwybodol a ŵyr y lleshâd a wneir trwy ddosparthu yr *argraffedig air*. Gwel-

pawb a'u profodd, ddigon o ffeithiau i'w cymhell i'r ymdrech, a gobeithiwn na fydd un Dosparthwr cyffredinol na Chynnorthwyol yn amddifad o'r amrywiaeth a'r llawnder a ystyrir yn alluog i'w dosparthu yn eu plith. Ni allwn gredu fod y Canghenau, a buom agos â dweyd y *Cynnadleddau* hyny, na anfonasant am nemawr neu ddim Traethodau eleni, yn deall y pwysigrwydd o'r peth, fel yr ymddengys i ni, neu nad oes ynddynt gymmaint awydd am achub dynion. Nid ymddengys fod cymmaint awydd chwaith yn y Dosparthwyr a'r Pregethwyr hyny a gerddant drwy y wlad a'u dwylaw yn weigion, yn nghanol pobl a orweddant yn y tywyllwch ag oedd genym ni a llawer o frodyr ffyddlon ereill, a fuom am flynyddau, ac a ddymunem fod etto, a thraethodau o dŷ i dŷ ar hyd yr heolydd lle y teithiem, o Gaergybi i Gaerdyf, fwy nag unwaith na dwywaith; ac hyd heddyw cawn bleser yn meddwl am yr ymdrechiadau—yn clywed llawer yn dweyd mai dyna ddechreuad eu troedigaeth, a mawr lawenhawn yn y gobaith o gael gyda hwynt, a phawb a wnaethant yr hyn a allasent, ein gwobrwyo o'r herwydd yn Nheyrnas Dduw.

---

GOGLEDD.—Ysgrifena yr Henuriaid J. Parry eu bod hwy yn cael Cymmanfaoedd blasus a lleisiol—bod yr Henuriad R. Parry ac R. Evans yn ddiwyd yn pregethu i dorfeydd lliosog bob dydd braidd drwy Sir Fflint a Sir Ddinbych, a bod gobeithion yr ufyddha llawer i'w cenadwri cyn hir. Dywed mai yn awr y mae y Gogledd oer a diweddar yn dechreu addfedu i'r cynheuaf mawr—chwedlau anwireddus wedi cael eu gwrthbrofi yn amlwg, a'r Saint yn ddiwyd yn dosbarthu Traethodau yn nhai eu cymmydogion. Ni oes a luddias fendithion y nef i goroni y fath ffyddlondeb â llwyddiant: yr Hwn a bïa y gwaith a'u nertho i wneyd mwy-fwy o hono, yw ein gweddi barhaus.

*Gwirfoddiaid.*—Drwy lythyr dyddorol a diweddar oddiwrth yr Henuriad H. Parry a I. Rees, deallir eu bod hwy yn llafurio yn ddiwyd ac yn dderbyniol yn Llanidloes, Tref Newydd, a'r cylchoedd, yn cael gwrandawiad boneddigaidd, a'r wlad yn awyddus am draethodau ac yn addfed i'r efengyl. Aethdau Frawd arall o Sir Fynwy yno ar eu hôl yn ddiweddar.

SIR FON.—Aeth yr Henuriad O. Thomas, a T. Bates o Tre-

degar, i lafurio yn yr ynys hyfryd hon; mawr lwyddiant a gaffont i achub miloedd o'i thrigolion.

DYFFRYN CONWY.—Cynnaliwyd y Gymmanfa hon, Mai 28, yn Eglwys Fach;—Cang. 5, Hend. 18, Off. 10, Ath. 4, Dia. 4, Bed. 4, Cyfan 98. Cariodd pregethau hyawdl yr Henuriad rhag enwedig ddylanwad daionus ar dorfeydd lliosog o wrandawwyr, ac ar y Saint.

PRIF DDOSPARTHWR CYNNADLEDD,—a ddylai fantoli ei gyfrifon gyda ei is-ddosparthwyr ar y dydd olaf o Fawrth, Mehefin, Medi, a Rhagfyr, ac yn ddioed anfon iddynt ddangoseg o swm eu dyledion i'r Gynnadledd.

Etholed pob Cynnadledd ddau Arolygwyr i edrych dros gyfrifon y Prif Ddosparthwr ar yr un pryd ag y mantolwn ni ein cyfrifon â hwynt. Gwneled yr Arolygwyr ddangoseg o'r arian a'r llyfrau ar law y Dosparthwr, yn ol y pris a ofynir gan y swyddfa hon, ynghyd ag o'r dyledion a fyddant ddyledus y pryd hyny oddiwrth yr is-ddosparthwyr.

Cadwed yr Arolygwyr eu danghoseg hyd oni welont swm y ddyled a ofynir oddiar eu Cynnadledd, yn gyhoeddedig yn y *Star* a'r UDGORN canlynol i hyny. Os cydunant, da; os na wnant, ymchwiliedLlywydd y Gynnadledd i'r achos o'r gwahaniaeth: nad pa fodd y bydd, rhodded yr Arolygwyr eu dangoseg i Lywydd y Gynnadledd, ac ymchwiliant gyda eu gilydd a gyduna y taliadau yn llyfr y Dosparthwr a'r derbyniadau a gyhoeddwyd; os na cheir gwall yno, cymharer cyfrif y Dosparthwr â'r cyfrif a anfonir gyda y llyfrau oddiyma, ac os methir gweled gwall yno, ysgrifener i'r Swyddfa lle y perthyn. Eithr os cyferbyna y cyfrifon, ac etto dim digon o arian, llyfrau, a dyledion yn llaw y Dosparthwr i ateb hyny, y mae efe yn ddiffygiol, a dylai y Llywydd amddiffyn y Gynnadledd rhag goddef cam oddiwrtho, drwy ofal prydlon. Os cyfaddefa y dosparthwr fod arian mewn llaw ar y pryd, dylai eu hanfon i'r Brif Swyddfa yn ddioed, yr hyn os gwna, gwelir cydnabyddiaeth o honynt yn yr UDGORN a'r *Star* ganlynol i'r rhifyn a gynnwys y dyledion chwarterol.

Os, wedi pob ymdrech ddyladwy, y bydd gweddill o UDGORN neu *Stars* yn sefyll ar law ar ol diweddu cyfrol, doeth fyddai i'r Gynnadledd eu rhwymo erbyn y dêl gwerthiad, drwy liosogiad aelodau.

Doeth a fyddai i bob Prif Dosparthwr gadw amrywiaeth, a digon o lyfrau yr Eglwys a Thraethodau ar law, fel y gall ddiwallu pob galwad. A'r Llywydd a wêl rai o'r *Gwirfoddiaid* ffyddlon yn llafurio yn ei Gynnadledd, mewn anghen, ac a'i diwallo â thraethodau, anfoned yma gyfrif o y rhai a roddo, ac ymdrechir ei ryddhau o'r ddyled am danynt, os bydd ei Gynnadledd yn analluog i hyny.

Dosparthwyr Cangenau.– Gosoder dau Arolygwyr yn mhob cangen i edrych dros gyfrifon y Dosparthwr mewn cyssylltiad ar Prif Dosparthwr, ar y dyddiau a rag nodwyd; cyfrifer y llyfrau ar law er pan yr Arolygwyd o'r blaen, eithr na chyfrifer y rhai oedd cyn hyny, ac ystyrier hwy yn ol prisiau y Prif Ddosparthwr. Cadwant y ddanghoseg hono hyd oni welant ddyled y Gangen i'r Prif Ddosparthwr, os cydunant, da; ac os na wnant, erfynier ar Lywydd y Gangen eu cynnorthwyo i ymchwilio am y gwall gyda y Prif Ddosparthwr ar Llywydd, yn y modd y cyfarwyddwyd hwythau uchod, i ymholi a'r Brif Swyddfa. Os y Prif Ddosparthwr ni chydnabydda dderbyniad unrhyw daliad o'r Gangen, ymholed y Llywydd ag ef, ac yn mhellach â Llywydd y Gynnadledd ôni foddlonir. Dylai fod digon o amrywiaeth ar law yn mhob Cangen er diwallu pob galwad, a gofaled pob Llywydd fod digon ar law rhwng arian a llyfrau i fantoli gofyniad y Prif Ddosparthwr ar ddiwedd pob chwarter. Ystyrir Dosparthwr pob Cangen yn atebol i'r Gangen am bob llyfrau a werthant, os rhoddant goel byddant atebol eu hunain, oddieithr bod amgylchiad neillduol yn cyfiawnhau y Llywydd i orchymyn eithriad i'r rheol hon. Gweled fod yr arian ar law yn cael eu trosglwyddo yn brydlon i'r Prif Ddosparthwr.

Cynghorwn y Llywydd i weled bod gofal teilwng dros y llyfrau ar law, perthynol i'r Gangen, ac os na ellir gwerthu yr oll, rhwymer y cyfrolau fel y galler, er lleshâd y Gangen.

---

## EFFEITHIAU TYBACO.

[Parhad o dud. 329.]

Mae trwyth tybaco, wedi ei gymhwyso yn allanol at y cylla, yn achosi llewyg, pendro, cyfogiad, a chwys oer. Gwyddir i'r

trwyth, pan eu rhwbid ar friwiau, archollion, tân iddwf a rhanau a effeithid gan glafr, beri cyfogiad, llewygon, a dirgryniadau.

Dr. Eberle, yn ei Draethodau a'r Physygwriaeth a ddywed "Wrth arfer tafliad tybaco, y mae o'r pwys mwyaf i fyned yn mlaen gyda gofal mawr. Os bydd y swm a daflir yn rhy fawr, achosir yr argoelion mwyaf brawychus, megys cyfogiad, chwys oer, ymollyngiad cyffredinol, llewyg, ac hyd y nod angau. Adwaenwn goegfeddyg, yr hwn mewn llai nag ugain mynud, a ddistrywiodd fywyd bachgen bach anwylaidd,—mab i ŵr boneddig yn Lancaster, teulu yr hwn a wasanaethwn tra yn y lle hwnw—trwy dafliad anghymmedrol o sudd tybaco.

Dywedwyd wrthym gan rai a ymwelodd ag Ynysoedd Sandwich, yr arferir tybaco mor gyffredin yno fel y dysgir plant i' fygu cyn eu bod yn gallu cerdded; ac y dygant yr arferiad mor bell fel y cwympant i lawr yn ddideimlad a marw yn fyrbwyll.

Dywed Mr. Barrow, ymdeithydd yn Africa, "Cymhwysodd Hottentod ychydig o sudd tybaco o ben byr ei bibell bren, at safn neidr pan yn saethu ei thafod allan. Yr oedd yr effaith mor gyflym ag eiddo ergyd wefraidd. Gydag ychydig symudiad dirgrynol, haner ddadnyddodd y neidr ei hun, ac ni symudodd byth mwy; a'i holl cwynau oeddynt mor grybachlyd, y teimlid yr ymlusgiad mor galed a fferllyd, fel pe wedi ei sychu yngwres poeth yr haul."

Ymddengys fod yr Indiaid, yn rhai parthau o'r America, yn adnabyddus o effeithiau gwenwinig tybaco. Yr oeddynt yn arfer trochi blaen eu saethau mewn olew a gaid o ddail tybaco, y rhai wedi eu myned i'r cnawd a achosent glafychiad, a llewygon, ac hyd y nod ddirgryniad a marwolaeth.

Gwnaeth Dr. Massey, yn mhlith ereill, y profion canlynol. Mae dau ddyferyn o sudd tybaco, wedi ei ddodi ar y tafod, yn ddigon i ddistrywio bywyd cathod a ddygwyd i fyny megys yn nghanol mŵg tybaco, mewn tri neu bedwar myned. Tri dyferyn, wedi ei rwbio ar dafod cath wedi tyfu i'w llawn faintioli, a'i lladdodd mewn tri mynud. Lladdodd un dyferyn gath, wedi haner tyfu, mewn pum mynud. Dau ddyferyn ar dafod gwiwair goch a'i dinystriodd mewn un mynud. Twll bach, a wnaed gyda nydwydd meddyg, yn wlych gan sudd tybaco, a barodd farwolaeth mewn chwe mynud. Yr wyf yn

gwybod i drwyth a wnaed o ugain neu ddeg ar hugain gronyn o dybaco, a'i yfed i mewn i'r corff dynol i'r dyben o esmwytho gwlwm gwthi, beri dinystrio bywyd lawer gwaith.

Prawfiadau creulawn a wnaed ar lygod trwy leoli cyfran fechan o sudd tybaco ar nydwydd lliain main, a'i treiddio i drwyn yr anifail; canfyddir i hyn y ddwyn marwolaeth uniongyrchol braidd.

Dyru Dr. Clay. Manchester, Lloegr, a ganlyn, "Blinid bachgen bach, wyth mlwydd ei oedran, yn ddwys a pharhaus gan *tinea cnpitis* neu ben berwlosg, tra gwrthnysig. Cymhwysodd ei dad sudd a wasgid o tybaco dros ei ben, a gafwyd trwy wlych dail sychion tybaco, a'u dodi rhwng dau lafn o haiarn a'u gwasgu hwynt, trwy yr hyn foddion y tynir y sudd allan. Cymhwyswyd y gwlybyr oddeutu pum myned cyn dau o'r gloch y prydnhawn; cwynodd y plentyn yn ddi oedi braidd o bensyfrdandod, a cholli golwg, fel y bu i'r tad gan wenu sylwi fod y bachgen yn feddw; daeth yn fuan wedi hyn yn glaf, cyfogodd yn fynych, ac mewn maintioli mawr; yr oedd arno hefyd awydd i waghau ei goluddion, yr hyn beth nis gallai ei gyflawni: crynai ei aelodau, troes ei wyneb yn welw, a gordöwyd ef â chwys oer: cynnorthwyodd ei fam ef i'r gwely, i'r hwn nid cynt yr aeth nag y cafodd ollyngiad anwirfodd o'i goluddion; ymddangosai ei wynebpryd yn soddedig yn awr, yr oedd ei aelodau yn ddi gyffro, oddigerth pan yn awr ac eilwaith eu tynid at ei fogail yn ddirgrynol; achwynodd o syched tost, a phoen yn ei goluddion: yr oedd ei holl gorph yn wlithog gan chwys oer, ac am haner awr wedi pump trengodd, dim ond tair awr a haner wedi cymhwysiad o'r sudd tybaco. Wedi agor y corff ni chanfyddid unrhyw newidiad cyfansoddol."

Achoswyd clafychiad llym a marwolaeth yn fynych, trwy gymhwysiad allanol tybaco at afiechyd y croen. Gallwn ddifynu o weithydd meddygol, niferoedd o brofion o'r fath hyn,

*I'w barhau.)*

---

## ARWYDDION YR AMSERAU, &c.

[Parhad o dud. 321.]

WEDI y brâs olwg rhagarweiniol yna, cawn bellach fanylu, yn y modd a ganlyn:—sef,

Y Dadguddiodd Duw y daw amseroedd adferiad pob peth.

Y bod anghyfiawnder, sydd yn y byd, yn galw am adferiad pob peth.

Ac y ceir *Arwyddion* amlwg y bwriada Duw gyflawni ei air, mewn byr amser, trwy ddwyn oddiamgylch amseroedd adferiad pob peth.

Dadguddiodd Duw y daw amseroedd adferiad pob peth, yn yr addewid o Hâd y wraig i sigo siol y sarph; yn yr addewid o greu pob peth o newydd; yn y prophwydoliaethau na ddysg dynion ryfel mwyach; y daw y blaidd i drigo gyda yr oen; y llew. yr anifail bras, a'r ych i bori ynghyd, a'u llydnod i gydorwedd; y bydd gwybodaeth o'r Arglwydd yn llenwi y ddaear, o herwydd y tywallt Ef ei Ysbryd ar bob cnawd; ac y caiff y rhai addfwyn etifeddu y ddaear. Dadguddiodd yr Arglwydd hyn hefyd, yn ngweinidogaeth Crist; yn ei farwolaeth, yn ei fynediad i bregethu i'r ysbrydion yn ngharchar; yn ei adgyfodiad, ac yn ei esgyniad i'r uchelder a'i eisteddiad ar ddeheulaw y Mawredd, yn y goruwchleoedd, gan roddi yn hyny ernes i ddyn o adgyfodiad i fywyd ac anllygredigaeth, i deyrnasu gyda Crist fil o flynyddoedd, yn unol ag addewidion y Goruchaf, y rhai a lafarodd Efe trwy enau ei holl santaidd brophwydi erioed, trwy ragfynegi am yr amseroedd i orphwys, ac yr anfono Ef Iesu Grist, yr ail waith.

Cyfiawn a sanctaidd yw yr Arglwydd; a'i drugaredd, llawn cariad, amynedd, tosturi, a daioni anfeidrol, sydd yn anfeidrol gyfiawn, trwy haeddiant y cyfiawn a aeth i le yr anghyfiawn: ac y mae yr anghyfiawnder, y gormes, a'r gorthrwm treisiol sydd ynghalonau dynion, ac yn tori allan trwy eu hymddygiadan tuag at eu gilydd, yn galw am i'r Arglwydd cyfiawn egluro ei gyfiawnder, yn adferiad pob peth i'w gyflwr cyntefig.

Pa le bynag y troer ein llygaid, anghyfiawnder a welir, yn waeth ac yn erchyllach ei olygon na'r *Hydra Seithben*, yn ein colynu bob ffordd y safom neu yr elom.

Y creaduriaid afresymol ydynt lawn cynddaredd, y naill at y llall; anniddigrwydd sydd yn anurddo tegwch y lluoedd plyfog: nid oes cydfod yn mysg yr anifeiliaid; pe ond ci a chath ar yr un aelwyd, ysleifia y naill yr asgwrn a rodder i'w grafu i'r llall; y pysg a draflyncant eu gilydd, a'r bwysfilod a ysglyfaethant eu rhywogaeth yn rheibus: brwydro a lladd sydd

yn ysgogi holl rym eu cedyrn ewynau, holl egni ei blaenfeinion ewinedd, ac holl nerthoedd eu hawchlymion ddannedd, hyd nes yw y môr yn ddïenyddle arswydus, yr anialwch yn llofruddle creulawn, a'r holl ddaear megys yn un gigyddfa gelaineddog, o begwn i begwn byd.

Dynion hefyd a ymgrafangant mewn anghyfiawnder. Gonestrwydd sy reddf gynhenid mewn dyn, sc amlygir hyny gan blant, pan yn chwarae a'u gilydd; gwrandawer, a cheir eu clywed yn dywedyd eu bod yn hoffi un, ac yn eiddigeddus at un arall, heb ofalu am yr ennill na'r golled yn herwydd adrodd eu meddyliau; ond, wedi tyfu i oedran gwŷr, collir y gonestrwydd hwnw i raddau, trwy ollwng y tafod i fynegi pethau yn groes i'r gydwybod, gan wasgu y gwan, y tlawd, a'r gwasaidd, gyda y dyben o wenieithio i'r cryf, y cyfoethog, a meistrolgar. Lliwiodd un lun boneddiges: a chan yr haerai hi a'i chyfeillion nad oedd y llun yn debyg iddi, gofynodd y lluniedydd i'r foneddiges ddyfod tranoeth, a'i harffed-gi gyda hi: pan ddaethant, aeth y ci a llyfodd y darlun trosto, a phawb yn rhyfeddu na allent hwy weled rhyw debygoliaeth, tra y ci bach yn gallu gweled cymmaint hyd nes yn llyfu llun ei feistres. Erbyn edrych, yr oedd y lluniedydd wedi iro y darlun gyda bloneg, a llyfu y saim yr oedd y ci! Ceir rhai meibion a merched yn ein byd, yn llawer tebycach eu hymddygiadau i gythreuliaid, nag i ddynion geirwir, teg, a mawrfrydig; er hyny, gan yr îrwyd hwynt gydag aur, enw mawr, a swydd uchel mewn gwlad neu gymdeithas neillduol,-canfyddir poblach yn eu llyfu a gweniaith tafodog a gwael, fel pe byddent angylion o'r nef! Yn y modd yma, gwna anghyfiawnder i'r naill ymddangos yn warthus mewn ymddarostyngiad, ac i'r llall ymddangos yn wrthun mewn coeg ddyrchafiad, tra y call a'r synwyrol yn ffieiddio y ddau, gyda dirmyg a thosturi.

*(I'w barhau.)*

---

## PE BYDDWN YN LLAIS.

Pe byddwn yn llais,—*cysurol* lais,  
Ehedwn ar edyn hoen,  
I drigle galar a gwarth yr awn,  
I adrodd y gwir yn deg a llawn,  
At achub dyn o boen:

Ehedwn, ehedwn dros gaddug mawr,
Disgynwn fel goleu yr haul i lawr,
Ynghanol rhai sydd yn ymbruddhau,
Y dysgwn hwy oll i lawenhau.
Pe byddwn yn llais, -*galluog* lais,
Ehedwn ar gorwynt cryf,
Os gwelwn yn unlle ddyn yn sarn
I drais a rhyfel a chaled farn,
Dadwreiddiwn ddrwg yn hyf:—
Ehedwn, ehedwn fel twrf a llam
Y daran fawr froch, a'i mellten yn fflam,
Rhwystrwn y llid, attaliwn y lladd,
A chariad a ddysgwn i bob gradd.

Pe byddwn yn llais,—*rhesymol* lais,
Ehedwn dros fôr a thir,
I holl gapeli y byd cawn droi,
Gwag dyb ac erlid ereill wnai ffoi,
Ceid chwarae teg i'r gwir:
Ehedwn, ehedwn fel angel Duw.
Dangoswn y ffordd i santeiddiol fyw,
Gwybodaeth lawn a thystiolaeth bur,
A roddwn yn lle gwael ofn a chur.
Pe byddwn yn llais,—*anfarwol* lais,
Symudwn yr iau sy drom,
Os gwaeddid am ryddid teulu 'r ffydd,
Heb ddyfod at Grist i fod yn rhydd,
Gwnawn sibrwd maint y siom:—
Ehedwn, ehedwn a'r edyn chwa.
Ceryddwn y drwg, canmolwn y da,
Llesoli pawb a fyddai fy nghais
Pe byddwn yn llais,— anfarwol lais. R. Ddu.

---

Derbyniadau am Lyfrau o Meh. 1 hyd 6.—Brycheiniog, £1 0s 0c; Sir Ddinbych, £1. *Cangenau Dwyr. Morganwg*—Georgetown, 5s 11c; Cefn, 14s 10c; Cwmbach, 7s.

☞ Cymmanfa Brycheiniog a gynnelir ar yr 2il o Orphenaf, a Chymmanfa Mynwy ar y 9fed yn lle ar yr 2il.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 23.] MEHEFIN 17, 1854. [CYF. VII.


## ANNERCHIAD

### AT OFFEIRIAID, PARCHEDIGION, PREGETHWYR, A HOLL ATHRAWON CREFYDD YN NGHYMRU.

[Parhad o dud. 348.]

NID rhesymol a fyddai troi clust fyddar at y dystiolaeth hon, gan ddweyd mai haerllugrwydd a rhyfyg yw; rhyfygu a wnelem pe na thystiolaethem, yn sobr, yn eglur, ac yn bendant am yr hyn a *wyddom*, yr hyn a fwynhawn; rhyfyg a fyddai i ni beidio tystiolaethu yr hyn a orchymyna Duw i ni wneyd, a rhyfygu a wnelem pe yr elem allan yn enw yr Arglwydd, i ddysgu pobl i grefydda cyn i ni *wybod* ei fod Ef wedi ein danfon, yr hyn, *wedi ei wybod* a fyddai yn rhyfyg i beidio a'i ddweyd. Felly, y mae y rhyfyg tybiedig, yn yr iawn ystyriaeth o hono, yn rheswm annogaethol i'n credu, o herwydd mai gwybodaeth o'r ffaith ag y tystiwn am dani a ddyry i ni y fath anymddibyniaeth,—y sicrwydd a feddwn o'n dwyfol ddanfoniad a'n cymhella i addaw y bendithion hyn, a'r mwynhâd o honynt a wnelai i chwithau dystiolaethu yn llawn mor bendant ag y gwnawn ninnau: wrth yr ammheuwr, os ceir un, dywedwn, "*Tyred, a gwel.*"

Nid rhesymol yw diystyru y dystiolaeth hon, gan ddweyd mai *cael* ein twyllo i gredu y pethau hyn yr ydym; o herwydd, nid ar *gredíniaeth* y seilir ein tystiolaeth, ond ar *wybodaeth*, yr hyn a wnaed i ni wybod drwy ffeithiau hunan-eglur, nerthol, a

sylweddol, ac nid trwy fympwy na phenboethni. Nid oddiwrth ddynion na'r diafol y deilliasant, o herwydd y mae y naill a'r llall yn elyniaethus iddynt, ac yn gwadu yr anghen a'r defnyddioldeb o honynt. Mai bendithion o'r nef ydynt a brofir drwy eu bod yn deilliaw ar ol, ac nid cyn, nac heb, ond drwy ein hufydd-dod i orchymynion y nef; ni fwynhasom ni erioed mo honynt, na dim yn debyg, hyd nes *wedi* i ni ufyddhau i orchymynion y gyfyndrefn ag y galwn eich sylw ati. Mae y ffaith y collir y bendithion hyn pan y troseddir ei gorchymynion hi, hefyd yn profi mai mewn cyssylltiad â hi y mwynheir hwynt. Mae natur a dyben y bendithion yn profi eu dwyfoldeb, ac o ganlyniad, *os* ein twyllo a gawn, y nefoedd a'n twylla, a goreu po fwyaf o'r fath dwyll, hyd nes ein twyllir i fwynhau y cyflawnder o'i bendithion a'i gogoniant. Etto, mae y bendithion hyn yn deilliaw i ni drwy ufydd-dod i'r grefydd a ddarlunir yn yr ysgrythyrau, ac y maent mor debyg i'r bendithion a fwynhauai y Saint cyntefig yn ol yr hanes ysgrythyrol, fel nad allwn fod yn cael ein twyllo heb eu bod hwythau wedi cael eu twyllo, ac yn ein twyllo ninnau i'r unrhyw dwyll. Hefyd, y maent hwy yn proffesu eu bod wedi rhagweled yr anfonid cenadwri fel yr hon a draethwn ni.—wedi gweled eu hufyddion yn mwynhau y bendithion a fwynheir genym ni, ac wedi eu gweled, drwy yr hyn a broffesai fod yn Ysbryd y Brophwydoliaeth, yn cael eu diystyru, eu camddarlunio, a'u cenadwri yn cael ei hamharchu am dwyll, a hwythau yn cael eu difenwi â'r enwau drwg a elwir arnom ni, a hyny gan y rhai a broffesant fwyaf o barch i grefydd, a'r rhai a ddylent fod yn flaenaf a'r mwyaf awyddus i dderbyn y genadwri a anfonid; gwelsant hyn oll, a llawer mwy manwl y gwelsant, drwy yr Ysbryd a feddent, yr hyn bethau ag y tystiwn ni am eu cyflawniad yn awr; ac felly, rhaid mai â'r cyffelyb dwyll ein twyllwyd ni a hwythau, a'n bod mewn dosparth a ystyrir yn bobl eirwir a didwyll: diolchwn am y fath dwyllwyr yn gwmniaeth, a thwylledd i'n cysuro, ac hyderwn y cawn fwynhâd tragywyddol o'r cyflawnder o'r fath dwylledd gyda hwynt, lle na bydd neb yn tynnu yn groes. Gan mai credu y gau yn wir yw twyll, nid allwn ni fod yn cael ein twyllo, o herwydd nid *credu* yr hyn a ddywedwn yr ydym, ond ei *wybod*, ei *weled*, ei *glywed*, a'i *deimlo* drwy gyfrwng ein holl synwyrau, nes arddelwi y ffaith ar ein henaid tu hwnt i'r

posiblrwydd o gamsyniad; ac felly, yn lle cael ein twyllo, os nad gwir ein *tystiolaeth*, rhaid mai twyllwyr ydym,—twyllwyr o'r fath waethaf.

Etto, *os* twyllwyr ydym, y twyllwyr ffolaf o bob twyllwyr ydym, o herwydd y gosodwn ein gwrandawwyr ar y ffordd i'n profi felly, rhoddwn y glorian yn eu dwylaw i'n pwyso, ac yr ydym ynddi o hyd, ac er's blynyddau, ac os cafwyd ni yn brin o bwysau y gwirionedd, yr ydym ni yn anwybodus o hyny hyd yn hyn. Nid allwn fod yn dwyllwyr heb fod yn gwybod hyny ein hunain; a phe byddem yn gwybod hyny, a roddem ni addewidion i'n hufyddion na ddichon arall ond Duw eu cyflawni; a'r rhai hyny yn gyfryw na ellir bod yn amddifad o honynt heb wybod hyny, ac oni rag-welsem y profasai yr amddifadrwydd o honynt mai gau oedd yr addewid, ac o ganlyniad, mai twyllwr a'u rhoddes? Onid canlyniad anocheladwy yw hwn, ag oni orfoda ein rheswm ninnau i ragweled mai felly y byddai; ac a ni yn rhag-weled hyny a addawsem ni y caffai ein hufyddion y cyfryw fendithion? Ni chredwn y cafwyd enghraifft o'r fath ffolineb mewn un twyllwr erioed oddieithr ei fod yn wallgof amlwg; ac felly, os twyllwyr ydym, yr ydym yn dwyllwyr gwyrthiol, o herwydd ein bod yn anghydmarol yn oesau y byd. Os twyllwyr ydym ag sydd wedi bod uwchben torfeydd lliosog o bobl ddoethion "yr oes oleu hon," o gŵr bwy gilydd i'r wlad, yn addaw iddynt ddoniau yr Ysbryd Glân, a miloedd yn ufyddhau ac yn aros gyda ni wedi hyny, yn colli eu henwau da, eu bywiolaethau, weithiau, yn dyoddef pob math o ŵg, gwawd, dirmyg a difenwad, pan y maent wedi bod, y naill neu y llall, yn dal pob swyddau, yn troi yn mhob cylchoedd, yn mhob crefydd arall ag sydd yn y wlad, ac etto, yn parhau i ddyoddef yr oll, er mwyn twyll gwybodus iddynt, tra y mae eich diwydrwydd chwi yn eich ymgeisiadau i'w troi yn ol, yn dangos mai er eich gwaethaf yr arosant, a ninnau yn parhau o hyd i'w herrio, un ac oll, i egluro y twyll i ni, ac yn methu cael ond ffeithiau i brofi ynddynt, eu bod yn cael eu boddloni, mai gwirionedd a addawsom, o herwydd y fod Duw wedi cyflawni ein haddewid drwy gyflwyno iddynt hwythau yr hyn a addawsom. O, na, nid tebyg i iaith twyllwr yw yr hyn a ddywedwn, tebycach i dwyll a fuasai myned oddiamgylch i berswadio dynion, *nad* yw y bendithion hyn i'w cael, ac "*nad* oes eu heisieu;" tebycach a fuasem o

guddio twyll wrth ddweyd *nad oes* tystiolaeth o ddwyfol gymmeradwyaeth, *na sicrwydd* o wir grefydd i'w chael, mai ofer chwilio am dani; hawddach y gallasid twyllo drwy addysgu egwyddorion mwy poblogaidd a pheidio a rhoddi i'r bobl addewid o brawf hyd nes y byddont yn afon angeu; canys, ni byddai o les i ni roddi yr addewid, oddieithr iddynt gael y cyflawniad o honi, ond yn unig lles iddynt hwy ddeall y twyll, os twyll yw. Heblaw hyny, dibyna ar y rhai a haerant mai twyllwyr ydym, i brofi, oddiwrth ein gweithredoedd, y fod ein cyd-wybodau wedi eu serio i'r eithafion ag a fyddai yn ofynol er haeru y fath afresymoldeb, ac nad oes ynom ofn Duw na pharch i ddyn, na gofal am ein heneidiau ein hunain, yr hyn sydd orchwyl mor anmhosibl iddynt wneyd ag yw gwrthbrofi dwyfoldeb ein crefydd.

Etto, os twyllwyr ydym, rhaid fod genym rhyw ddybenion gau y rhai a gelwn o tan y ffûg;—Beth ydynt? Pwy a'u hamlyga? A'i elwa? Ni feiddir meddwl ein bod am elwa tra y pregethwn yn rhâd heb ofyn dim, ond a ewyllysir roi, yr hyn ni fyddai ond rhy ychydig i'w ceisio oddiwrth rai a dwyllwyd genym! Dywedir mai tlodion y wlad yn unig a'n credant, nid allant hwy gyfoethogi mo honom lawer; ac os eu twyllo a gânt, paham y tystia nid yn unig ein pregethwyr, ond yr aelodau, gwryw a benyw, hen ac ieuanc, cyfoethog a thlawd yr un peth, a phaham y tystia y rhai mwyaf duwiolfrydig yn gadarnach na'r rhai mwy ffaeledig, na phaham y cyfranant eu harian i dystio eu cydwybodolrwydd yn y peth?

Nid poblogrwydd a chlôd a ddichon fod mewn golwg, onide argyhoeddasid ni er's blynyddau, drwy ŵg a gwawd y byd, ein bod wedi camsynied y ffordd i boblogrwydd yn hollol, ac ni fuasem mor ffol a dilyn yn mlaen, ac ni chlybuwyd am un erioed a ennillodd glod y byd wrth ddweyd a ddywedwn, ac wrth wneyd a wnawn, a rhyfedd os ystyrir ni oll yn rhy ffol i ragweled mai anmhoblogaidd a fuasem ninnau wrth bregethu yr hyn a ystyrid yn anmhoblogaidd yn mhob oes a gwlad! O, na, nid haeru twyll, ac nid twyllwyr ydym, ond y wybodaeth a feddwn o ddwyfoldeb ein crefydd a achosa i ni, ïe, *a'n gorfoda i* dystiolaethu, *anghenrhaid* a osodwyd arnom, *a gwae ni oni wnawn hyn;* cariad atoch, ac awydd i chwi a'ch gwrandawwyr, drwyddoch chwi, gael y bendithion dwyfol a gynnygir i chwi, yw

ein dyben yn eich cymhell i'r ymchwiliad. Gwyddoch na buasem mor afresymol â dweyd hyn oddieithr ei fod yn wir, o herwydd os gau, y buasai yn anmhosibl ei guddio: ac felly, y mae y rhesymoldeb o'n tystiolaeth yn teilyngu ymddiried,—ei gwrthodiad a ddyry gondemniad.

Afresymol yw gofyn i *ni brofi* dwyfoldeb ein cenadwri, o herwydd nid dynol yw, ni allodd dynoliaeth erioed brofi dwyfoldeb; ni allodd neb ond Duw *brofi* dwyfoldeb unrhyw genadwri a anfonodd i'r byd; ac afresymol yw gofyn prawf ganddo Ef, ond yn y ffordd a drefnodd. Ni allwn ni, ni allodd un gwas i Dduw erioed *brofi* amgen nag ymresymu a thystiolaethu yr hyn a wyddai; hyn a wnaethom, ac a wnawn, a chyfarwyddwn chwithau i'r ffordd anffaeledig i gael gan Dduw *brofi* i chwithau mai gwir ein tystiolaeth, drwy roddi i chwithau yr un dystiolaeth. Afreidiol i ni ddyfynu ysgrythyrau ag sydd mor wybodus i chwi, er profi pa fodd i gael y dystiolaeth hon, o herwydd y mae y rhai hyny wedi cael eu gwyrdroi gymmaint drwy esponiadau a deongliadau priod, fel na therfynai dadleu, mwy nag y mae y ffordd yna wedi dwyn y croesbleidiau a'i dilynant i undeb y ffydd: gan na ddaethant, ofer dysgwyl y deuant yn y ffordd yna, etto, gwyddom am ffordd sicrach o lawer:—ar eirwiredd ein tystiolaeth, rhaid ein bod ni yn *gwybod* yn anymddibynol ar bob cyfarwyddyd a gawsom o'r ysgrythyrau, ac yn anymddibynol ar bob dyn byw, pa fodd, neu wrth wneyd pa bethau y cawsom ni hyn ein hunain, ac o ganlyniad nid gwiw dadleu ar hyn ychwaith. Gan y dyry Duw dystiolaeth i'r sawl a wnêl fel y dywedwn ni, ac na roddodd Efe yr un dystiolaeth i neb a ddysgant yn groes i ni, *rhesymol* yw credu yr hyn a ddywedwn, ac o herwydd hefyd na ddywedwn ond yr hyn a *wyddom.* Gwyddom fod hyn yn wahanol i'r ffyrdd a ddysgir gan ereill, eithr gwyddom hefyd mai dyma yr unig ffordd y dysgai holl genhadon Duw, ac os beïr ni am hyn, beïr ein Harglwydd hefyd drwy hyny am wneyd yr un fath: canys, Efe a roes y rheol hon i lawr:—"Os ewyllysia neb *wneuthur* ei ewyllys ef, efe a gaiff *wybod* am y ddysgeidiaeth, pa un ai o Dduw y mae hi, ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru."—Ioan vii. 17. Pa iaith mwy didwyll, mwy dwyfol brofedig na hon, a allasai, hyd y nod yr Iesu geirwir lefaru? Anmhosibl i dwyllwr, nac i un dyn o hono ei hun ddweyd y fath beth; ac etto,

twyllwr yw pob *pregethwr* na all ddweyd yr un peth, a rhoddi y cyffelyb addewid o'r cyffelyb *wybodaeth.* Yr hwn nid yw yn gwybod ddarfod i Dduw ei ddanfon, ni ryfyga ddweyd hyn; eithr yr hwn â wŷr ei ddanfoniad, ni ryfyga *beidio* a dweyd hyn er boddio byd, na chael ei olud; o herwydd i ddweyd hyn, ac i ddangos i'r byd pa fodd i gael y wybodaeth hon ei danfonwyd; a gwelir yma brawf o'r egwyddor a ddysgwyd yn flaenorol, sef, y fod *gwneuthur* yr hyn a orchymynir yn anhebgorol er cael y wybodaeth; ac nid oes addewid y rhoddai Duw wybodaeth yn mlaen, neu cyn *gwneuthur,* ac nid gwneuthur ein hewyllys ein hunain, ond Ei ewyllys Ef. A dyma yw yr hyn a ewyllysia i chwi wneuthur, a phawb yn mhob man, y galwir arnynt:—Credu yn nwyfol ddanfoniad, croeshoeliad ac adgyfodiad ei Fab Ef, Iesu Grist,—edifarhau am eich holl wrthryfel yn ei erbyn, gyda phenderfyniad i'w wasanaethu Ef o hyn allan,—cymmeryd eich bedyddio gan ei genhadon Ef mewn dwfr er maddeuant pechodau, ac wedi hyny, drwy arddodiad dwylaw Henuriaid Ei Eglwys, *chwi* a dderbyniwch *ddawn yr Ysbryd Glân!* Yn awr dywedwyd,—dyma ffordd a drefnodd Duw, anrhydedda Efe y ffordd hon drwy gyflwyno yr Ysbryd Glân o'r uchelder yn ei wahanol ddoniau, megys yr addawodd Iesu Grist, pan ar y ddaear. Nid gwiw gwrthod y ffordd hon heb ei phrofi, a hòni cred yn yr ysgrythyrau wed'yn, o herwydd y mwynhâd o'r Ysbryd hwn a brofai y ffaith, fel o'r ochr arall, yr amddifadrwydd o hono a brawf *nad* Eglwys Dduw yw y fan lle *ni* cheir Ef.

Foneddigion,—dyma dystiolaeth gywir i chwi, er eich mwyn eich hunain, er mwyn y rhai a wrandawant arnoch, ac er mwyn gogoniant y Duw sydd yn galw arnoch drwyddom ni, ufyddhewch, profwch a mwynhewch grefydd a grym ynddi,—crefydd a brawf eich mabwysiadu drwyddi yn blant i Dduw, a'r hon a leinw eich calonau a dengmil mwy o lawenydd, goleuni, a dedwyddwch nag a feddyliasoch erioed ei gael ar y ddaear, a'r hon a'ch cyfoethoga ag anchwiliadwy olud y nef yn dragywyddol. Gadawn y dystiolaeth sobr a'r addewid anmhrisiadwy yna gyda chwi, gwnewch y defnydd a fynoch o honi, delir chwi yn gyfrifol am y canlyniad, nid oes a esgusoda y gwrthodiad o honi, o flaen y frawdle lle y rhaid i ni gyfarfod wyneb yn wyneb, a llygad yn llygad.—*(I'w barhau.)*

## GWRTHWYNEBRWYDD INDIAIDD I'R CENHADON CRISTIONOGOL.

EGLURIR dwfn ysbrydoliad yr Indiaid mewn atebiad, a roddodd y blaenor nodedig a elwir *Red Jacket* i ofyniad o eiddo yr Anrh. J. C. Spencer, diweddar Ysgrifenydd y Llynges. Cynnygiwyd *Red Jacket* yn dyst mewn prawf pwysig ar y cyhuddiad o lofruddiaeth. Eithr sisialwyd ynghlust yr Ysgrifenydd Anrhydeddus fod *Red Jacket* yn bagan, ac o ganlyniad yn anffyddiwr, na chredai yn modolaeth a llywodraeth Duw. Gofynai yr Anrh. Ysgrifenydd, a ydych chwi yn credu yn modolaeth Duw? Ac atebodd *Red Jacket* yn ebrwydd, gyda golwg sarug; "Yn fwy gwirioneddol felly nag un a *all* ofyn i mi y fath holiad." Athroniaeth ddofn y Pagan, yr hwn a wyddai trwy amgyffrediad uniongyrchol y rhaid i bob dyn gredu yn modolaeth Duw a dywynodd yn fuddugoliaethus tros anwybodaeth yr Anrh. Ysgrifenydd.

Tra yr ymdrechai y siacedi duon neu y Cenhadon blanu eu hathrawiaethau yn mysg y genedl Senecaidd, yr oedd *Red Jacket* mor benderfynol i wrthwynebu eu dyfodiad ag a ydoedd o wrol yn ymladdfeydd gwaedlyd rhyfel. Gellir ystyried ei iaith wrth y llywodraethwr Clinton, o New York, mewn perthynas iddynt, oddiwrth un neu ddau ddyfyniad.

"Frawd, gwrandaw ar yr hyn a ddywedwn. Nid yw y dynion hyn yn gwneyd i ni un daioni. Y maent yn twyllo pawb. Y maent yn gwadu yr Ysbryd mawr, ar yr hwn, fel ein tadau o'n blaen, yr edrychasom ni fel ein Creawdwr. Terfysgant ni yn ein haddoliad. Dywedant wrth ein plant y rhaid iddynt beidio a chredu fel ein tadau a'n mamau, a dywedant wrthym lawer o bethau nad ydym yn eu deall, ac nas gallwn eu credu. Dywedant y rhaid i ni fod fel pobl wynion,—ond y maent hwy yn ddioglyd, ac ni weithiant, nid ydynt chwaith yn dysgu ein dynion ieuainc i wneyd felly. Mae arferion ein menywod yn waeth nag a oeddynt cyn i'r dynion hyn ddyfod i'n mysg; ac y mae ein gwyr ieuainc yn yfed mwy o *whisky*, yr ydym yn ewyllysgar i gael ein dysgu i ddarllen, ac i ysgrifenu, ac i weithio, ond nid gan ddynion a wnaethant i ni gymmaint niwed."

Ar amgylchiad arall traddodwyd ei wrthateb i'r gofyniad, pa

ham y gwrthwynebai ef y cenhadon, gyda y geiriau callweirgnöawl a ganlyn :—

"O herwydd nad ydynt yn gwneyd i ni un daioni. Os nad ydynt yn ddefnyddiol i'r bobl wynion, pa ham eu gỳrant i blith yr Indiaid? Os ydynt yn ddefnyddiol i'r bobl wynion, ac yn gwneyd daioni iddynt, pa ham na chadwant hwy gartref? Sicr yw eu bod yn ddigon drwg i fod eisiau llafur pob un a allo eu gwneyd yn well. Mae y dynion hyn yn gwybod nad ydym yn deall eu crefydd? Nis gallwn ddarllen eu llyfr, dywedant wrthym wahanol chwedlau am yr hyn a gynnwys, a chredwn y gwnant i'r llyfr siarad i gyfateb eu hunain. Pe na buasai genym nag arian, na thir, na gwlad i gael ein twyllo o honynt, ni byddai i'r siacedi duon hyn drafferthu eu hunain am ein lles ar ol hyn. Ni bydd i'r Ysbryd Mawr ein cospi am yr hyn nad ydym yn ei wybod. Gwna efe gyfiawnder i'w blant coch. Mae y siacedi duon hyn yn siarad wrth yr Ysbryd Mawr, ac yn gofyn goleuni, fel y gwelom ni megys hwythau, tra y maent yn ddeillion eu hunain, ac yn ffraeo ynghylch y goleuni sydd yn eu harwain. Nid ydym yn deall y pethau hyn, ac y mae y goleuni a roddant i ni yn gwneyd y llwybr uniawn ac amlwg a dramwyodd ein tadau yn dywyll ac yn ddychrynllyd. Dywed y siacedi duon wrthym am i ni weithio a chodi ŷd; ond ni wnant ddim eu hunain, a newynent i farwolaeth oni byddai i rhywun eu bwydo hwynt. Yr oll a wnant ydyw gweddio ar yr Ysbryd Mawr; ond ni wna hyny i ŷd neu gloron dyfu; os gwna, pa ham y gofynant gynnorthwy genym ni a chan y bobl wynion? Ni wyddai y dynion coch ddim am aflonyddwch hyd nes y daeth oddiwrth y bobl wynion; mor gynted ac y croesasant hwy y dyfroedd mawrion yr oedd arnynt eisiau ein gwlad; ac yn ad-daliad, buont bob amser yn barod i'n dysgu i ffraeo ynghylch eu crefydd. Ni all *Red Jacket* byth fod yn gyfaill i'r fath ddynion."

Gellir dysgu am ysbryd defosionol llawer o'r llwythau, a elwir gyda gwawdweniaith yn Baganiaid, oddiwrth ei leferydd ar amgylchiad arall.

"Am grefydd, nyni a ddylem i gyd ei chael. Dylem fawrhau ac addoli ein Creawdwr am ei ffafr arbenig yn ein gosod tros ei holl weithredoedd. Os na allwn addoli, gyda yr un fraethder ymadrodd, ac yn yr un iaith hyawdl a chwi, y mae

genym ninnau ein dull o addoli, yr hyn a wnawn gyda chalon ddidwyll,—yna, a allwch chwi ddywedyd am ein gweddiau a'n diolchgarwch ni, yn tarddu oddiar galonau diolchgar o feddyliau didwyll, eu bod yn llai derbyniol gan Dduw Mawr y nefoedd a'r ddaear, er iddynt gael eu dangos naill ai trwy lefaru, trwy ddawnsio, neu trwy wledda, na'r eiddoch chwi, a draethir yn eich modd a'ch dullwedd eich hunain."

"Pwy yw yr hwn sydd yn achosi i'r afon hon i darddu yn y mynyddoedd uchel, ac i arllwys ei hun i'r môr? Pwy yw yr hwn sydd yn achosi yr ysgythrwyntoedd i chwythu y gauaf, ac yn eu tawelu drachefn yr hâf? Pwy yw yr hwn sydd yn codi cysgod y coedwigoedd uchelwych hyn i fyny, ac yn eu difrodi hwynt gyda mellt cyflym wrth ei hyfrydwch? Yr un Bôd a roddodd i chwi wlad ar yr ochr arall i'r dyfroedd a roddodd i ninnau yr eiddom: a thrwy y teitl hwn ni a'i hamddiffynwn." Ebe y rhyfelwr, gan daflu ei fwyall ymladd ar y ddaear, a chodi rhyfelsain ei genedl. *Cyf.* ROBYN DDU, ERYRI.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MEHEFIN 17, 1854.

MORMONIAETH.—Mae y gair bach diystyredig hwn wedi myned yn air mawr a phoblogaidd iawn drwy y byd yn awr, ac yn ol cyfartalwch cynnydd presennol ei boblogrwydd, ni bydd yn hir heb fod y gair mwyaf yn y byd, debygid; bu ei gylch oddiamgylch pwlpudau y byd; a'r gair a floeddid uwchaf, gyda y mwyaf o rincian dannedd a churo traed a dyrnau; o bob gair, oddieithr un, sef enw ei sefydlwr, nid oes un cryfach ei ddylanwad nâ'r gair "*Mormoniaeth.*" Gwelir mewn man arall o'r rhifyn hwn, ei bod hi yn ymddangos yn well yn y Senedd, nag y gallasid dysgwyl oddiwrth y camddarluniadau cyffredinol a roddir o honi; eithr nid ydynt wedi cael allan yr oll a gynnwys y gair etto o lawer. Doethach y gwnaeth y boneddigion hyn drwy ymofyn yn llygad y ffynnon, yn lle y ffordd a gymmer y

*Peirch* a'r *Golygyddion*, sef cyhoeddi ystoriau gelynion, ac nid ofnwn brophwydo y byddai Mormoniaeth mor ganmoladwy yn ngolwg holl resymol garwyr y gwir, pe'd arholent hi o flaen brawdlys lle y caffai ei charedigion ei hamddiffyn yn lle ei dienyddwyr i'w llofruddio, ag y mae felly yn y Senedd. Eithr gydag amynedd gweithïa ei hun yn amlwg, canys y mae bywyd ynddi na ellir ei ladd, na'i guddio.

Mawr y difyrwch a gaiff teulu "Jonathan" ddoeth yr ochr draw i'r pysgodlyn, yn y senedd Americanaidd, yn chwerthin ac yn gwylltio, yn wban ac yn cynllunio pa beth yn y byd a wnant ag Amlwreigiaeth y Mormoniaid yn Utah! Mawr y dadleu y buont, ai ei chrogi, ei halltudio, ynte ei newynu a wnaent! Coffânt ni am ddammeg y ci bach a'r ddraenog, felly hwythau wedi snapio at y ddraenog Formonaidd nes gwaedu eu cegau, a droesant ymaith o'r Senedd heb benderfynu beth i wneyd. Dymunai rhai anrhegu y sawl a beidiai gymmeryd mwy nag un wraig â 160 o erwau o dir yn Utah, yr hyn a fyddai yn werth tua £41 13s 4c. Cofus am eu brodyr gynt, am "ddeg ar hugain arian," yn prynu ei Feistr gan Judas, eithr nid er mwyn arian na thir na dim ond mewn ufydd dod i Dduw y cymmeradwya y Mormoniaid yr egwyddor, ac nid oes digon o arian na thir yn y byd er eu rhwystro hwy i ufyddhau i Dduw. Efallai mai £41 13s 4c yr un yr ystyria y deddf-wneuthurwyr hyn, werth eu gwragedd eu hunain, gellid meddwl hyny wrth eu gwaith yn ceisio gan y Mormoniaid werthu eu gwragedd hwy am y swm hwn. Rhyfedd y fath ysfa sydd yn eu gewinedd yn erbyn "Mormoniaeth" o hyd, gallesid meddwl y dylent gael llonydd bellach wedi ymneillduol i eithafion y byd braidd er mwyn heddwch; mor groes i Abraham "tad y ffyddloniaid" yw y Seneddwyr Americanaidd; lleiaf o wragedd mwyaf o dir ebe hwynt, tra mwy-fwy o dir yn gyferbyniol i liosogrwydd gwragedd oedd trefn Duw gynt; ac, a wyddys a ddadleua y Seneddwyr hyawdl hyn yn erbyn Abraham a'r holl lu o hen amlwreigwyr enwog a feddiannasant y wlad gynt, pan y dychwelant i'w hetifeddu hi etto! Pa un bynag am hyny, "y rhai sydd o ffydd Abraham, ydynt blant i Abraham, ac etifeddion yn ol yr addewid," sef, addewid i etifeddu y wlad, a'u gwragedd a'u plant ynddi yn dragywydd.

NEWYDDION CARTREFOL.—*Sir Ddinbych.*—Cynnaliwyd Cym-

manfa y Gynnadledd hon yn Newmarket, ar yr 22ain o Fai. Y Cynnrychioliad fel y canlyn:—5 o Gangenau, 17 o Henuriaid, 5 o Offeiriaid, 4 o Athrawon, 2 o Ddiaconiaid, 9 wedi eu bedyddio, a'r Cyfanswm yn 123. Cafwyd pregethau buddiol, a gwrandawwyr lliosog ac astud.

---

## EFFEITHIAU TYBACO.

[Parhad o dud. 351.]

MODD bynag, mae cymhwysiad mewnol tybaco yn fwy peryglus na'r allanol. Gwybyddir i ychydig o'i daflu i mewn beri marwolaeth yn aml. Gresynus yw canfod yngweithydd meddygol ar wenwyn y niferoedd profion sydd o hyn.

Dr. Grahl, Hamburgh, rai blwyddi yn ol, a gyhoeddodd achos y bu i goegfeddyges weinyddu tafliad i mewn i foneddiges, oddeutu wns o tybaco wedi ei ferwi mewn dwfr oddeutu pymtheg mynud. Y goddefydd a grafangwyd yn mhen y dau fynud gan gyfogiad, dirgryniadau ffyrnigwyllt, anadliad caethiwus, a bu farw mewn tri chwarter awr. Nid ystyrir dwy ddram, pedwerydd ran o wns, neu hyd y nod dram a hanner, mewn ffordd o dafliad i mewn, mewn un modd yn ddogn diogel. Gwyddir i un dram, mewn arllwysiad ladd y goddefydd. Mwy nag un o'r fath achosion a geir yn argraffedig. Crybwyllir achos o'r fath hyn gan y Dr. Christison, a gymmerodd le yn ddiweddar yn Guy's Hospital, Llundain, bu farw y goddefydd mewn pymtheg mynud ar hugain.

Dr. Paris, Ysgrifenydd meddygol tra enwog, a'n hysbysa iddo ef weled prawf galarus o effeithiau tybaco, lle y gwanhawyd y goddefydd gan ddyoddefiadau blaenorol. Meddyg, gwedi amryw gynnygion i leihau llindagol doriad llengig, a daflodd i mewn sudd tybaco, ac yn fuan gwedi, a ddanfonodd y goddefydd mewn cerbyd i Yspytty Westminster, i'r dyben o fyned dan y gweithrediad anghenrheidiol, ond ni ddaeth y dyn druan ond ychydig fynudau cyn trengu.

Ac ychwanega y Dr. Paris, nas gellir taflu i mewn unrhyw faintioli mwy na hanner dram o sudd tybaco, heb fawr berygl. Sylwn hefyd, " Cyfarwyddwyd arfer chwistrell feddyginiaeth i rai mewn gwewyr caled, ond bu i'r argoelion arswydus a ddilynodd yn yr unig achos ei harferwyd beri rhwystro ail gynnyg o'r prawf."

Côf ysgrifiodd Syr Astley Cooper, a Syr Charles Bell achosion tebyg i'r blaenorol. Dywed yr olaf, wrth adrodd am arferu tybaco mewn achos o doriad llengig tost. " Daliodd nerth y goddefydd i fyny hyd nes chwistrellu sudd tybaco, iddo ar ol hyny efe a syrthiodd yn isel, a bu farw yn ddisymmwth. Gellid nodi niferoedd o enghraifftiau cyffelyb allan o weithydd awdurdodau meddygol.

Ymddengys fod tybaco yn wenwyn cyfartal farwol pan ei trosglwyddir i'r cylla. Lladdwyd yr enwog fardd Ffrencig SANTEUIL ganddo yn ddamweiniol pan wrth fwrdd y Tywysog Condë. Rhoddwyd cyfran o drewlwch Yspaenaidd, gan un o'i gymdeithion, i'w wydriad gwin, mewn cellwair—yr oedd hyn wedi iddynt yfed o'r gostrel yn lled ehelaeth. Yn fuan wedi ei yfed, ymosodwyd ar y prydydd gan gyfogiad a chlefyd, a bu farw yn mhen y deuddydd.

Gwyddir i fwg tybaco, fel ei cymmerir i'r cyfansoddiad wrth fygu, beri marwolaeth. Yn ddiweddar, yn Salem, Massachusetts, achoswyd marwolaeth bachgen a enwid James Barry, deuddeg mlwydd ei oedran, trwy fygu gwefuslys yn ormodol. Hysbysir ni gan Gruelin, awdwr meddygol Allmaenaidd, am ddau a laddwyd trwy fygu, un person wedi mygu dwy bibell ar bymtheg, a'r llall bedair ar bymtheg ar un eisteddiad.

Dywed Dr. Clay, Lloegr, fod oddeutu hanner y marwolaethau, a gymmerant le rhwng yr oedran, deunaw a phump ar hugain, yn cael eu hachosi gan yr arferiad o fygu a chnoi tybaco. I un a deithiodd y wlad hon, a bod yn dyst o'r lluoedd braidd anghredadwy a fygant y tybaco, agos yn mhob man, ni all y sicrhâd hyn ymddangos yn anhygoel.

Fel y caffom feddylddrych eglurach am yr amryw effeithiau a ddwg tybaco ar y cyfansoddiad dynol, anghenrheidiol i'w gwneyd rhai nodiadau o natur meddyg-ddysg am ansawdd clefydau. *(I'w barhau.)*

---

## ARWYDDION YR AMSERAU, &c.

GAN ROBYN DDU, ERYRI.

[Parhad o dud. 353.]

Os edrycher ar fasgnach, canfyddir y naill yn twyllo y llall mewn cyfanwerthiad ; ac wrth fânwerthu, mynych y ceir gwyneb

gan hired a chrwth, a mesur gan fyred â dwy fodfedd dan latheu; ac aml y ceir ochenaid mor fawr a cheudod crochan, a phwysau mor fach ag yw deg ceiniog yn fyr o fod yn swllt. Y gwir am lawer a ddywedodd *Twm o'r Nant*, eu bod "a smic yn eu bysedd, i wneyd i bethau bwyso."

Hyll yw adroddiad pob cyfeisteddfod seneddol, am y llwgr wobrwyon a ddenfyn i'r senedd, aelodau nad aethent yno byth yn herwydd galluoedd eu synwyr; a dengys aml i brawf ger bron llys barn, fod yno dderbyn wyneb, y ceir trymach cosp am niweidio milgi gwr cyfoethog, nag am faeddu pregethwr, a hwy carchariad yn herwydd cymmeryd ceiliog coed yn mharc y bonheddwr, nag o herwydd lladrata arian gweithiwr wrth y dydd.

Os anfoddlon yr Indiaid i golli eu tir, yn Hindoostan, lleddir hwy gan filwyr; a pha un bynag ai boddlon ai peidio cymmerir eu tir: ac am yr hauir pabi yn lle ŷd, gwasgir y brodorion gan eisiau bwyd. Anfonir y pabi hyd i China, i'w newid am y Tê; a phan rwgnachodd y gwladwyr hyny, gan geisio arian, yn lle pabi, yn gyfnewid am eu heiddo, anfonwyd milwyr i'w lladd.

Gartref etto, y gwarir mwy arian am feddwi nag a dalai holl ddyled y deyrnas, a chynnal yr holl deuluoedd mewn llawn gysur. Talwyd i Kean, y chwareuwr, saith gant o bunnau am chwarae un darn noswaith; talwyd i Jenny Lind, am ganu, ddeg mil ar hugain o bunnau, mewn naw mis; telir miloedd, yn flynyddol, i wahanol weithdai undebau plwyfol; heblaw am bob math o loddest a chyfeddach a phuteindra, heb braidd sylwi ar y lluoedd a ddirwasgir gan dlodi, afiechyd, ac angheu, tra llawer yn newynu, o eisiau bara beunyddiol.

Y Pabyddion ydynt yn bachu cyfoeth, trwy ddychrynu poblach ag ofn purdan:—yr Eglwys Loegr a grafanga nerth ei chyfoeth i bigion balchder, a'r sectau a bentyrant athrawon, gan grafangu arian i ddewisolion, a gadael eu cystadl am bregethu, yn llwm eu gwisgoedd, yn ddrylliog eu hesgidiau, ac yn lled weigion eu bwydgistau.

Coron Lloegr sy ben eglwysi, a ymgyfenwant eu hunain yn eglwysi Cristionogol; a thâl y llywodraeth wladol filoedd o bunnau, i gynnal esgobaeth yn Lloegr, Presbyteriaeth yn Alban, Pabyddiaeth yn Iwerddon, Lutheriaeth yn Hanover, a Braminiaeth yn India; a goddefir y mân sectau, o herwydd fod eu prysurdeb, yn ffraeo â'u gilydd, yn dangos nad oes perygl i'r llywodraeth gael

ei dwyn i degwch ganddynt hwy, fel yr ofnid gynt, yn amseroedd yr erlid, y carcharu, a'r merthyru.

Fel y gwrolwyd milwyr, ar ol eu marw, gan Baganiaid dysgedig Athen, felly y santyddir milwyr ac ereill gan Rufain Babaidd; ac felly hefyd y gwneir duwiau o'u blaenoriaid gan y sectau. Pe cymmerid enw yr Hallalluog yn ofer, ynghlyw proffeswr sectyddol, cynghorid yr euog i beidio, a hyny mewn tiriondeb; ond os meiddia un ddywedyd yn ddiystyrllyd am flaenor ei sect, megys Calfin, Knox, neu Wesley, yn ei glyw, efe a ffromai, digiai, a gyrai un allan o'i dŷ yn ddïymaros; yr hyn ymddygiad a brawf, y teimlant yn fwy dros eu duwiau marwol, nag a deimlant dros barch i enw y Bendigedig.

Dwfn iawn hefyd yw anwybodaeth grefyddol y rhai a ystyrir yn enwog mewn pethau gwladwriaethol. Pan ofynwyd, yn ddiweddar; am ddydd o ymostyngiad a gweddi, i ofyn i'r Arglwydd lwyddo arfau Prydain yn erbyn Rwssia, dywedai un arglwydd, yn ddyfrifol, yr ofnai ddarfod i Rwssia achub y blaen, a gweddio am lwyddiant cyn i ni feddwl am hyny! A phe llwyddai Ffrainc a Rwssia, i gael gan Mair, a'r gwahanol seintiau eu gwrandaw a gwneyd eu cais; a phe llwyddai Twrci a Lloegr i gael gan wahanol wrthrychau eu gweddiau gyflawni eu heirchion, elai yn frwydr gan boethed yn y nef ag ar lanau yr afon Danube!

Truenus yw yr olwg ar y byd, yn ei fanau goreu. Trais, gorthrwm, a cham sydd yn ffynu; gwneir y werin yn farciau bwledi, at foddloni balchder ac uchelgais mawrion daear; gadawir gwragedd yn weddwon, cyn meirw o'u gwyr; a gwneir plant bychain yn amddifaid, cyn trengu o'u tadau. Y trechaf treisied, heb wrandaw gwaedd y gweiniaid; a'r meistrolgar gormesed, heb gydymdeimlo â chwyn y llesg a'r methiedig, yw arwyddeiriau y gwledydd: gyrrir y march i'r frwydr, lleddir eidionau i fwyda dialeddwyr, newynir gwerinos i fwdo ymladdwyr, a gwthir dynion i farwolaeth wrth y miloedd, i beri llawenydd y gwin a'r ddawns i ychydig hunanolion; ac o herwydd hyn, mae'r ddaear yn crynu, mae'r nef yn gwgu, mae'r greadigaeth yn ochneidio, a phob duwiol yn hiraethu am ddadguddiad meibion Duw, ac am amseroedd adferiad pob peth.

*(I'w barhau.)*

## MORMONIAETH YN Y SENEDD-DY.

*Allan o'r* "Silurian," *am Meh.* 3, 1854.

Un o'r ymofyniadau mwyaf dyddorol, yr wythnos ddiweddaf, oedd fod un o flaenoriaid y Mormoniaid, o flaen Pwyligor neillduol ar Ymfudiad, yn y Tŷ Cyffredin. Gŵyr y darllenydd, mae yn debygol, fod gan y Mormoniaid sefydliad rheolaidd o'u heiddo eu hunain yn y Deyrnas Gyfunol. Y boneddwr holedig oedd un o'r awdurdodau uchaf yn eu plith hwynt. Ei anrhydeddus, y boneddwr cyfeiriedig, Mr. Samuel Richards, sydd ddyn canol oed, o ymddangosiad cydweddol, yn gwisgo yn dra thebyg i offeiriad, eilliad glân, a chyda gwallt crychiog, yn rhôlio dros goler ei *goat*. Yr oedd ganddo darawiad gwan o'r *Yankee* yn ei iaith. Ei sefyllfa yma sydd un gyfrifol: efe yw prif lywodraethwr y Mormoniaid yn y wlad hon, a chynnwysa yn mhlith ei ddyledswyddau arolygyddiaeth ymfudiad y Mormoniaid o Liverpool. Gosododd gerbron, fod yn y tri mis cyntaf o bob blwyddyn, tua 2,600 o ymfudwyr yn gadael Liverpool i Ddinas Utah, y Llyn Halen Fawr, mewn llongau a ddarparwyd iddynt gan Mr. Richards. Y trefniadau sydd yn gywilydd i lawer o berchenogion llongau a chwmnioedd o honiadau mwy. Mewn un llong nid oes byth fwy nâ phum cant o bersonau. Y lluniaeth rheolaidd i ymfudwyr cyffredin a gynnwys bob amser gig; a'r ymfudwyr, yn ystod eu holl fôrdaith, ydynt o dan ofal Llywydd, yr hwn a edrych fod eu hanghenrheidiau tymhorol yn cael eu diwallu. Pan gyrhaeddant New Orleans, derbynir yr ymfudwyr gan oruchwylydd arall, yr hwn a anfona hysbysiaeth i Mr. Richards o'r sefyllfa yn yr hon eu cafwyd. Y cyfartalwch o gost môr-daith pob ymfudwr i New Orleans yw £3 12s 6c: yna daw y daith i Utah, yr hon yn arferol a gostia £20 yn fwy. O'r 2,600 a ymfudodd y flwyddyn hon, dim ond ugain oedd o Wyddelod. Y llu oedd wedi eu troi o blith y sectau Ymneillduol yn Nghymru a Lloegr. Mewn atebiad i ofyniadau oddiwrth Mr. Frederick Peel, Mr. Richards a ddangosodd mai bwriad mawr y Mormoniaid yw i sefydlu teyrnas ddirfawr gerllaw y Llyn Halen Fawr, ac mai yno y mae dymuniad y Blaenoriaid i'r holl ffrydiau i gyd-ymgyfarfod. Utah yw eu Canaan—eu haddawedig wlad, yn llifeirio o laeth a mêl—eu dinas barhaus. Mr. Richards a

a dystiolaethodd yn athrylith ac eofn, efe a ennillodd ac a gafodd ddiolchgarwch y Pwyllgor mewn canlyniad. Yr argraff a ymddengys i fod, nad pa mor wrthwynebus y gall Mormoniaeth fod, etto yr oedd un peth a wnaethant yn brydferth a da, ac hyny yw, cario eu dyscyblion yn brydferth, yn briodol, ac yn iachusol dros y Môr-werydd. Mae yn drueni mai Mormoniaid yn unig gaiff fyned yn y llongau Mormonaidd. *Cyf.* T. H.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

NEWYDD DA.—Tiriodd yr Hen. F. D. Richards, a 6 o frodyr adnabyddus ereill o Seion i Lerpwl, ar y 4ydd o'r mis hwn yn iach a chalonog, a chalonoga eu dyfodiad ninnau i ddysgwyl cyfran helaeth o nerth y Goruchaf gyda hwynt, a'i fawr allu o'u plaid, hyd nes eu gwneuthur o fawr fendith i'r Saint, ac adeiladaeth i'w Deyrnas Ef; nid heb gofio defnyddioldeb a dewrder y brodyr hyn yn mhlith peryglon oddiwrth derfysgluoedd ac oddiwrth Indiaid, y gallwn lawenhau o'u cael megys wrth ein hochr etto, i ymladd â chleddyf yr Ysbryd yn y parthau pellenig hyn, erfyniwn Dduw o'n plaid a mawr fuddygoliaeth yma etto.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MEH. 6 HYD 13.—Dyffryn Conwy, £1; Sir Feirionydd, £2.—*Cangenau Dwyr. Morganwg*—Pontypridd, 11s 10c; Aberdâr, 7s; Aberamman, 3s; Dowlais, 4s 2½c; Hirwain, 9s; Georgetown, 7s 6c; Pendaren, 10s; Ffynnon-Tydfil, 8s; Cwmbach, 10s.

☞ Wrth ein gohebydd o'r Llwyni dywedwn, nad felly ein dysgwyd ni—nid oes hawl i ymyraeth lle y bo unigolrwydd, eithr lle y bo amledd, gweled yr anghenrheidrwydd o'r ymyraeth a ystyria yn afreidiol, a rhesymau anwrthwynebol dros hyny yn y "*Seer.*"

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street*, *Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 24.] MEHEFIN 24, 1854. [CYF. VII.

## ETHOLIAD

### YR HENURIAD FRANKLIN D. RICHARDS I LYWYDDIAETH EGLWYSU IESU GRIST, SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF YN YR YNYSOEDD PRYDEINIG, A'R GWLEDYDD CYFUNOL.

ANWYLAIDD SAINT.—Wedi bod yn absennol am ychydig dros ddwy flynedd, dychwelaf gyda mawr lawenydd a diolchgarwch am gael y fraint o gyd-lafurio â chwi yngwaith iachawdwriaeth yn y gwledydd hyn, ac am fy ngwaredigaeth mewn peryglon ar fy nhaith ar fôr a thir, tra y cyfarfu ereill â dwfrllyd feddau yn lluoedd, ac ag angau deisyfed.

Mawr yw trugaredd Duw tuag at ei blant teithiol, tra y mae dynolryw mor esgeulus o'r bywyd dynol, a thra y mae melldith a'r wyneb y dyfroedd, o herwydd yr hyn, mor anfynych y gelwir arnom i alaru o herwydd colli ein cyfeillion drwy yr heintiau erchryslon ag ydynt mor fuddugoliaethus ar ddwfr a thir. Eithr er ffyddloned yw yr angylion yn gofalu am fywyd ei bobl Ef, etto y mae genym fwy testunau o ddiolchgarwch a mawl nag yw gwarediad ein bywydau dynol. Gwell fyddai cysgu gyda y meirw na ein cael yn ffyrdd anghyfiawnder, ac yn anghymmeradwyaeth Duw.

Testun penaf ein gorfoledd yw, ein cyfrifiad yn deilwng i gyfranogi o'r Efengyl fendigaid, yr Offeiriadaeth Santaidd, ac i gynnorthwyo i adeiladu teyrnas Dduw ar y ddaear yn yr amseroedd diweddaf hyn. Gan mai hyn yw prif amcan pob

Henuriad, ac yn enwedig y Deuddeg, dywenydd annhraethadwy i mi yw canfod cyflwr heinyf ac iachusol y Saint yn Ewrop yn gyffredinol, ac yn neillduol felly, y rhai a gyfaneddant yr Ynysoedd Prydeinig, manteision a phrofion y rhai ydynt lawer rhagorach.

Er pan ymadewais o'ch plith, mae dadguddiadau y gwirionedd a ddanfonwyd allan o Seion wedi achosi cynnydd dirfawr yn ffydd, cadarnhau gobeithion, ac wedi bywiogi ysbrydoedd y ffyddloniaid yn mhob man, gan ddechreu yn Ninas y Llyn Halen Mawr, congl faen Seion; felly mwynhâ y cyfiawn allu i ddyfod yn feibion ac yn ferched i Dduw, gan gynnyddu eu nherth i ddyoddef gwrthwynebiadau y byd a'r Diafol hyd oni ymgasglant i Seion, yno i dderbyn nerthoedd y byd a ddaw, drwy yr hyn ennillant y fuddugoliaeth, a choron y bywydau diderfyn, yn nheyrnas ein Duw.

Fel y caniatâ achlysuron, bwriadaf hysbysu, drwy golofnau y "*Star*" y cyfarwyddiadau a gymhellir gan yr Ysbryd Glân yn gyfaddasaf i anghenrheidiau y bobloedd, eithr dymunaf yn bresennol eich hysbysu o natur fy ngenadiaeth yn eich plith, yr hyn a ddeallir drwy ddarlleniad o'r canlynol Lythyr o Etholiad—

At y rhai y daw y llythyrau hyn, yn annerch:—

Wrth hyn deallwch y dirprwywyd yr Henuriad Franklin D. Richards, aelod o Gorwm y Deuddeg Apostolion, i fyned i Loegr i bregethu yr Efengyl, argraffu, cyhoeddi, arolygu yr Ymfudiad, ac i lywyddu ar holl Gynnadleddau Eglwys Iesu Grist, Saint y Dyddiau Diweddaf, yn yr Ynysoedd Prydeinig; a galwn ar yr holl Saint i sylwi yn fanwl ar ei ddysgeidiaeth ac i ddilyn ei gynghorion yn mhob peth, canys drwy wneuthur felly hwy a fendithir.

Gweithredwyd yn Ninas y Llyn Halen Mawr, Tiriogaeth Utah, Unol Daleithiau yr Amerig, ar y nawfed dydd ar hugain o Fawrth, 1854, arwyddwyd dros, ac yn enw yr Eglwys gyfenwol, gan ei Chynghor Llywyddol.

BRIGHAM YOUNG,<br>HEBER C. KIMBALL, } *Y Brif Lywyddiaeth.*

Er mawrogrwydd gwaith yr Arglwydd yn Mrydain, deallir wrth y rhagflaenol, fod maes fy llafur yn estyngedig i'r gwledydd cyfunol yn Ewrop.

Dymunir ar Lywyddion y gwahanol genhadiaethau cynnwysedig, fy hysbysu i, yn y Swyddfa hon, eu cyfleustra boreuaf, beth yw sefyllfa a gobeithion eu meusydd llafur yn dymhorol ac yn ysbrydol, ynghyd a'r cynnygiadau gwelliadol a ddymunant wneuthur ynddynt, fel ein galluogir i gydweithio yn fwy effeithiol er eu llesiant a'u cynnydd.

Mae y cyflwyniad o fwy galluoedd a nerth a roddwyd i'r Saint, a'r cyfryngau lliosog a ddefnyddir gan ddaionus law Duw er rhoddi ffafr i'r Gwirionedd, ac i'w Ei weision yngolwg y byd, hyd y nod mewn uchel leoedd, yn cymhell ei bobl i fwy o ddiwydrwydd yn y cyflawniad o'u dyledswyddau tuag at y byd ac at yr Eglwys.

"Lle y rhoddir llawer, gofynir llawer."

Coffawdwriaeth bleserus am y tymhorau hyfryd ac aml y mwynheais ddylanwadau yr Ysbryd Glân yn eich plith, a'r hyder ynof, arddangosiadol drwy eich ffydd a'ch gweddiau blaenorol a'm calonoga i hyderu y mwynhâf eilwaith eich cynnorthwyadau a'ch cydweithrediad, yr hyn, dan fendith Duw, ac arddeliad Ei Ysbryd Glân, a santeiddia fy ymdrechiadau egwan i hwyluso Ei achos, a chysur Ei bobl drwy y gwledydd hyn. Eich gwas gwirioneddolaf, yngbariad yr efengyl,

FRANKLIN D. RICHARDS.

Swyddfa y "Seren Filfiwyddiol,"
Llynlleifiaid, Meh. 8, 1854.

---

# ANNERCHIAD

## AT OFFEIRIAID, PARCHEDIGION, PREGETHWYR, A HOLL ATHRAWON CREFYDD YN NGHYMRU.

[Parhad o dud. 362.]

NA wrthodwch ein cenadwri, o herwydd yr ymddengys i chwi rai o'i hathrawiaethau yn newydd neu yn groes i'ch meddyliau, o herwydd, felly yr ymddanghosodd pob athrawiaeth ddwyfol i'r meddwl dynol hyd oni chafwyd eglurhâd, a rhesymol i'r rhai a ddysgwyliant gyrhaedd hyd berffeithrwydd gwybodaeth i gael cyfraith Duw yn "llin ar lin," canys, heb hyny ni allant *gynnyddu*. Ac hefyd sicrhawn yr eglurhâ Ysbryd Duw i bob un a ufyddhâo i'r genadwri hon, mai dwyfol yw yr egwyddorion hyny a ymddangosant mor groes i ddoeth-

ineb ddynol, ac yna pa raid ofni? Pa reswm eu gwrthod heb eu profi.

Na chondemniwch ein cenadwri o herwydd yr ystoriau a draethir, a bregethir, a gyhoeddir, ac a ganir drwy ein gwlad, a'r byd, yn erbyn cymmeriadau y cyfryngau a ddewisodd Duw alw i'w thraddodi i'r byd; canys, nid yw yn rhesymol credu ystoriau gelynion am bersonau tra y mae Duw yn cynnyg profi yn groes i hyny drwy arddel eu cenadwri. Nid gwir y cyhuddiadau a ddygir yn erbyn y personau hyny: er nad oes neb o honynt yn proffesu bod, ond dynion ffaeledig, etto, y mae yn *wybodus* i ni mai anwireddau yw yr oll a ddarllenasom ac a glywsom yn ddrwg am Joseph Smith a blaenoriaid ereill yr Eglwys hon. Ein rheswm dros yr haeriad hwn yw, o herwydd i ni gael blynyddau o amser i chwilio i mewn i wreiddiau yr ystoriau hyny, gan mwyaf lle y tarddasant, a'u cael yn anwireddus;—o herwydd cael adnabyddiaeth bersonol a thrwyadl o'r person "dirmygiedig" hwnw, mewn gwahanol gylchoedd a than amrywiol amgylchiadau, yn deuluol, cyfrinachol a chyhoeddus, a chael digon o ffeithiau, drwy ei weithredoedd adnabyddus, i brofi mai dyn addfwyn, gostyngedig, bucheddol, a duwiol oedd efe; ac yn enwedig, ac fel *anffaeledig* brofion o hyn, tystiwn mai gwas i Dduw, yn bucheddu yn deilwng o'r cymmeriad anrhydeddus, ac yn ymgais at wasanaethu Duw ydoedd efe, o herwydd y fod Duw o'r nef, yn cyflawni ei addewidion ef i ni ac i'r oll a ufyddhasant i'r grefydd a ddysgai. Ni allwyd dweyd felly am un *twyllwr* erioed. Nid allwn ni gredu ei fod ef y dyn ag yr ymdrechir gael gan y byd gredu ei fod; ac ni allwn beidio a chredu yn groes i hyny, o herwydd Ysbryd Duw a'n gorfododd; a pheidio credu hyny a fuasai credu ei elynion yn hytrach na chredu Duw, yr hyn ni allwn wneyd, serch bod hyny, ar eirwiredd Duw, yn gwneyd ei holl gyhuddwyr yn gelwyddog.

Amlwg yw oddiwrth ydrechiadau diflino ein gelynion i chwilio y byd, a'i Newyddiaduron mwyaf llygredig, am gamgyhuddiadau yn erbyn personau, y credant y byddai hyny yn gwrthbrofi dwyfoldeb ein cenadwri; eithr, amheuwn ni gywirdeb y fath dybiaeth: tra y caniatawn fod dynion yn ystyried grym tystiolaeth yn gyferbyniol i'w barn hwy am gymmeriad y tyst, etto, ni chaniateir na all tyst anghywir am *rai* pethau dystiolaethu yn gywir a chredadwy am bethau *ereill,* yr hyn, yndde

ei hunan, a brawf dueddolrwydd cyfeiliornus, y rhesymeg. Ond, meddir, ar eirwiredd y cyhuddiadau gwarthus a draethir yn erbyn Joseph Smith ac ereill, seilir ein crediniaeth nad gweision Duw ydynt, o herwydd na arddelai Efe y fath ddynion llygredig. Ond, meddwn ninnau, gan ddyfod yn nes at wreiddyn y ddadl yna, y mae geirwiredd eich tystion chwithau yn ei erbyn yn dibynu ar eu cymmeriadau hwy, yn ogystal ag yw geirwiredd ei dystiolaeth yntau o ddwyfoldeb ei genadaeth yn dibynu ar ei gymmeriad, yr hyn a'n harweinia i chwilio pa fath rai yw ei gyhuddwyr, ai rhai anmhleidiol ydynt? Dywedir eu bod yn bobl grefyddol, duwiolfrydig, a santaidd iawn, ac y mae gan luoedd o honynt deitlau o uchelradd, o bob plaid ac enwad tu yma a thu draw i'r moroedd, megys,—Parchedigion, Esgobion, Offeiriaid, Vicariaid, Curadiaid, Athrawon, Pregethwyr lu, a rhestr o'r D. D's., A. B's., B. A's., &c. Ystyrir mai yn y teitlau hyny mae grym tystiolaeth; ond a wyddys, onid oedd byddin mor liosog, o rai mor dduwiol a selog, a chynnifer o deitlau mor anrhydeddus yn ardystio y cyffelyb gyhuddiadau yn erbyn pob gwâs a anfonodd Duw i'r byd braidd, heb eithrio ei Unig-anedig Fab, na'i apostolion ar ei ol! Y mae lle i feddwl hyny yn yr ysgrythyrau, a sicr yw mai yn mhlith y dosparth yna yw y lle annhebycaf i gael y gwir am gymmeriad un o wahanol grêd; o herwydd, ennilla gwâs Duw ddigofaint yr anonestion o honynt trwy dystio yn erbyn eu twyll a'u cyfeiliornadau, ac wrth eu galw i edifarhau a dychwelyd i'r ffordd iawn; a'r rhai mwyaf rhith grefyddol a fyddant y mwyaf selog i ddinystrio cymmeriad y tyst a dystiai yn eu herbyn hwy, gan gredu y gallent felly rwystro y werin i'w gwrandaw yn dynoethi eu twyll hwynt.

Afresymol condemnio neb a broffesant fod yn genhadon Duw o herwydd cyhuddiadau eu gelynion yn erbyn eu cymmeriadau, canys, prawf yr hanesion ysgrythyrol mai felly y gwnelai y byd â chenhadon Duw yn mhob oes a gwlad o hono; ac felly, yn lle bod yn wrthbrofion, y mae y cyhuddiadau hyn, a'r sail rhesymeg gyffelybiaethol, yn profi mai yr un genadwri yw hon, sydd yn cynhyrfu y byd i'w difenwi a'i chamgyhuddo yn awr, ag oedd hono gynt a addefir yn ddwyfol serch ei bod yn cael ei gwrthwynebu yn yr un modd.

Yr ydym wedi ymdrechu yn ol ein gallu er's blynyddau i ar-

gyhoeddi y wlad o ddwyfoldeb ein Cenadwri, yr ydym wedi cyhoeddi gwrthbrofion i'r holl ystoriau anwireddus a'r camgyhuddiadau a glywsom yn erbyn y grefydd hon, a'r rhai a gamgyhuddir o'i herwydd, drwy resymau teg, tystiolaethau geirwir gan lygaid dystion dibroffes, ac y mae ein hamddiffyniadau yn awr a'r led y wlad hyd y gallwn eu dosparthu; eithr y mae pregethwyr a Golygyddion mor barod i gredu anwireddau, a'u sicrhau yn wirionedd o'u pwlpudau a'u cyhoeddiadau, fel y mae braidd mor anhawdd cael gan y werin i wrandaw na darllen ein hamddiffyniadau ag oedd i Paul wneyd i'r Ephesiaid glywed ei lais ynghanol y fonllef hono,—"Mawr yw Diana yr Ephesiaid;" un peth a gwaeddi ar ruad cynddeiriog dònnau y mor i ddystewi,—neu ymresymu ynghanol rhuad magnelau a thrwst arfau tra yn gymmysgiedig a gryddfanau trancedigion yw ceisio gan y rhai a gredant yr ystoriau gwarthus a daenir am danom i chwilio i'n hanes a'n tystiolaethau ein hunain. Dysgir o bwlpudau i anfon plant a'r ein hol i wban a gwneyd sŵn fel y bodder ein lleisiau lle y pregethir yn debyg fel y gwaeddai y plant gynt, "dôs i fynu moelyn" ar ol y Prophwyd pan yn traethu cenadwri, nid mwy dwyfol na'r eiddom ninnau. Rhybuddia pob enwad eu gwrandawwyr bod perygl dyfod i'n gwrandaw, a diarddelir am hyny weithiau; darlithir yma a thraw yn ein herbyn gan *elynion*, a phob amser camgyhuddir ni a'n crefydd, a gwrthodir caniatâd i ni amddiffyn. Chwychwi a ddylech fod y rhai blaenaf yn y wlad i chwilio i mewn i'r genadwri a broffesa ddyfod oddiwrth Dduw, yn gymmaint a'ch bod yn proffesu bod yn arweinyddion y bobloedd, rhag ofn y ceir chwi fel yr Ysgrifenyddion, neu Saul o Tarsus, drwy sêl gau yn gwrthwynebu Duw.

Na rwystred anmhoblogrwydd tybiedig yr enwad hwn i chwi dderbyn y genadwri ddwyfol hon; gwyddoch mai anmhoblogaidd yr ystyriai y byd a'i holl grefyddwyr cyfoesol bob cenadwri ddwyfol a ddaeth i'n daear. Gan fod crefydd yn boblogaidd, y grefydd oreu a ddylid ystyried yn fwyaf poblogaidd mewn gwirionedd; a chan fod y grefydd hon yn addaw mwy bendithion nag a addawa un arall paham nad hon yw y mwyaf poblogaidd? Gwyddom mai hon yw y fwyaf poblogaidd yn y nef, a'r grefydd a debygola ddyn i'w Dduw—*safon* anffaeledig *gwir* boblogrwydd, a ddylid ystyried yn fwyaf pob-

logaidd gan ei holl addolwyr Ef ar y ddaear; etto, cyd-ddyoddefyddion â'i Hawdwr yn ei gwarth daearol hi a goronir â gwir boblogrwydd gydag Ef. Gan eich bod chwi yn boblogaidd deuwch a'ch poblogrwydd gyda chwi ynte, er anrhydeddu gwir Eglwys Crist: *chwychwi, nid nyni,* a allwch, o herwydd diflanodd ein poblogrwydd ni drwy ei derbyn hi. Felly os beius ei hanmhoblogrwydd, arnoch chwi y mae y bai!

Nid awydd i brosolytio na chael yr *eiddych* a'n cymhell i'ch annerch fel hyn, bydded rhyngddoch chwi â'ch gilydd am eich *cyflogau,* eich *capeli,* a'r *eiddych,* nid ymofynwn hwynt; eithr yn enw, a thros y Duw a'n danfonodd, erfyniwn arnoch dderbyn y genadwri rasol hon a ddanfonodd Duw i chwi, a defnyddiwch y dylanwad a roddes Efe i chwi er argyhoeddi yr oll a allwch i'w derbyn, fel eich cymmoder chwi a'r eiddych â Duw, ac y mwynhaoch yr *undeb,* y *cariad,* y *llawenydd,* y *sicrwydd,* a'r *holl fendithion* a ddymuna eich calonau. *Taer* erfyniwn eich cynnorthwy *chwi* i hyn, o herwydd y fod yn eich dwylaw *chwi* allweddau calonau miloedd na allwn ni gael eu clustiau; o ganlyniad, wrth eich drysau *chwi* y gorphwys y cyfrifoldeb am eneidiau eich gwrandawwyr oni wnewch hyn! *Mae Duw yn gofyn hyn genych,—ac yr ydym ni yn* GWYBOD, *ac yn* TYSTIO *hyny!*

Bellach, terfynwn ein "Hannerchiad," gan ddyfal weddio ar fod Awdwr dwyfol y genadwri a draethwn, drwy Ysbryd y gwirionedd, yn agor eich llygaid i weled y pwysigrwydd o ufyddhau iddi, fel yr achuber eich eneidiau ac y gwneler chwithau yn genhadon dros Dduw, i achub ereill, hyd oni ddelo holl garwyr gwirionedd drwy ein gwlad yn blant i Dduw, ac yn etifeddion o sylweddoldeb crefydd Crist, yr hyn yw prif amcan yr ymdrech presennol a dymuniad enaid,

Eich gostyngedig was,

Y GOLYGYDD.

---

## CAIS I DDEHONGLI DAMMEG YR IUDDEWON A'R MOCHYN.

BARCHUS OLYGYDD,—Fy nyben yn ysgrifenu atoch yw i *geisio* dehongli "Dammeg yr Iuddewon a'r Mochyn," yr hon a ymddangosodd yn yr UDGORN yn ddiweddar.

Y gofyniad cyntaf yw,—Beth yw y Mochyn? Atebaf mai

Mormoniaeth yw; a'r Iuddewon yw y crefyddwyr a ddywedant na halogant eu hunain â'r fath halogrwydd â chrefydd yr "hen Seintiau," yr hon sydd wedi ac yn cael ei chynnyg yn rhâd i bawb; ac oddiar hyny y mae pregethwyr ac aelodau wedi myned bob un a darn o honi, a druain o'r Saint yn cael eu cyfrif yn y diwedd o fod yn feddiannol ar "fochyn aflan" na fwytauai neb mo hono, ac etto y mae mor felys fel y mae pob un wedi myned a'i ddarn o hono, heb un diolch i'r Saint yn y diwedd. Onid purion yw dweyd mai lladron ac yspeilwyr yw y fath ddynion, ag ydynt yn dringo i fewn ryw ffordd arall, neu mewn modd dirgelaidd yn llarpio y mochyn rhyngddynt, gan ofni rhag i neb wybod eu bod yn halogi eu hunain, gan wrthod dyfod yn y ffordd iawn, trwy ymwadu yn llwyr â'u hen draddodiadau, ac arddel yn gyhoeddus grefydd gyfan Saint y Dyddiau Diweddaf, y naill ran fel y llall, a pheidio gwneyd *sauce* o ffydd, edifeirwch, a bedydd i seimio eu hefengylau ereill ac anathemawl hwy, er i'w hudolion eu llyncu yn hawddach, sef "*ni* dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân," oblegid "*bu* ein hefengyl ni mewn gair, gwendid, ofn, a dychryn, nad ydym yn feddiannol ar yr Ysbryd Glân;" yn lle mewn nerth yr Ysbryd Glân, &c.; a Duw yn gwanhau y y gair trwy ofnau o beidio bod yn iawn, pa rai sydd yn canlyn, heb un o ddoniau yr Ysbryd Glân, yn yr "arwyddion a'r rhyfeddodau, ac amryw ddoniau yr Ysbryd Glân." Yr hwn a gredo na feindiwch am saws bob amser, sef, nid oes gwahaniaeth mawr am ei fedyddio, fe fydd gadwedig; a'r hwn ni chredo, ond a gredo efengyl amgen, os bydd hi yn un barchus a phoblogaidd, a fydd cadwedig; a'r arwyddion hyn ni chanlynant, &c. Onid yw yn amlwg i bawb pwy sydd yn myned a phen y mochyn i wneyd saws i seimio fel y nodwyd. Y rhai hyn sydd a saws, neu rith duwioldeb, eithr gwadant ei grym, neu ei chig hi.

Iuddewon sectariaid pa'm byddwch mor draws
Wrth gigydd, a mochyn i chwi i wneyd saws;
Y naill aeth a'i gynffon, a'r lleill aeth a'i draed,
Un arall a'i ystlys 'nol yfed ei waed.

Y cigydd, amddifad yw, rhyngoch i gyd,
O'i fochyn—y lladron a'i dygodd yn glud!
A phwy ond y lladron sydd uchaf eu cloch,
Yn dweyd wrth y bobl,—"Na fwytwch gig moch!"

WILLIAM LEE.

[O'r amrywiol ddeghongliadau a gawsom o'r Ddammeg, rhoddwn yr uchod er denu y neb a allo i wella ei gwallau, os na cheir gwell *Bwtcher*, rhaid i ni chwilio i mewn i'r *mochyn* cyn hir, o herwydd mae mwy na hyna o frasder a mêr yn ei esgyrn goeliwn ni! Pwy a'i dangosa?—GOL.]

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

## DYDD SADWRN, MEHEFIN 24, 1854.

DOSPARTHU TRAETHODAU.—I'r sawl a oleuwyd i ganfod y pwysigrwydd o achub eneidiau, amlwg yw eu dyledswydd i Dduw ac i ddynion, o ymroad yn y "llafur cariad," o ddosparthu traethodau yn mhlith eu cymmydogion; os oes a ammheua y defnyddioldeb o hyn aed a phrofed hyny; eithr i'r Saint ffyddlon hyny a fuont ddiwyd gyda y gorchwyl, profa ffrwythau eu llafur iddynt fod bendith y nef arno yn gymhelliadol i barhau. O'r Llywydd i'r aelod distadla, nid oes un, dan unrhyw amgylchiad, yn un man na alla weithio wrth y gwaith clodadwy hwn, ac wrth hyn, y mae talentau yr ieuengaf yn gyfartal i'r mwyaf; ac o herwydd y fod cyfleusterau gan y naill at bersonau na all arall eu cyrhaedd, gweler *cyffredinolrwydd* y ddyledswydd. Y mae llawer o drigolion ein gwlad yn troi mewn cylchoedd, o tan amgylchiadau na allant, neu na ddeuant i wrandaw pregethu, etto mor awyddus am gael y wir grefydd a'r rhai a wrandawant arnom, tra y darllenent ein traethodau pe y caffent hwynt; diwydrwydd selog y Saint i'w cynnyg iddynt a brofo ddwyfoldeb eu crefydd nes eu gwneuthur yn ddiesgus. Mawr y lleshâd a wnaed, ac a ellir wneyd etto drwy draethodu! Gwyddom am ambell gangen sydd yn ddiwyd yn dosparthu traethodau nes denu sylw a chyffroi y fath ymchwiliad yn eu cymmydogion, mewn ychydig wythnosau, nes y mai y canlyniad yw, bedyddiant o bedwar neu chwech yn yr wythnos, ac weithiau cadarnheir saith yn yr un cyfarfod, a'r gobeithion am ychwaneg yn gwellhâu o hyd yn gyferbyniol i'w diwydrwydd; tra y mae Cangenau ereill ar eu pwys—yn eu hymyl—

oddiamgylch iddynt; a chystal manteision a hwythau, heb fyned a nemawr neu ddim traethodau oddiamgylch eleni; a'r canlyniad yw nad ydynt byth, braidd, yn bedyddio neb nac yn agos mor ddedwydd a'r lleill!! Onid yw yr enghraifft hon, ac ychwaneg a ellir enwi, ddigon eglur i brofi y lleshâd o draethodu? Pa fodd y dichon y nefoedd amlygu hyny yn blaenach na thrwy gymmeradwyaeth ac arddeliad y fath ag yw hyn?

Gan fod ein gwybodaeth o ddwyfoldeb ein cenadwri yn ein gorfodi i *unrhyw* ymdrechiadau i'w chyhoeddi i ereill, paham nad yw mor gymhellol *i bob* ymdrechiadau, ac yn enwedigol i ddosparthu "yr argraffedig air?" Yn erbyn hwn ni allant gyndyn ddadleu, na'i wneyd yn ddau eiriog—yr un peth a ddywed o hyd, a dywed y gwir mor bwyllog a dealladwy ag y mynant eu hunain!

Nid i'r byd yn unig y mae traethodu yn llesiol, ond gwyddom fod Duw yn dedwyddoli, drwy ei Ysbryd Glân, y sawl a'i gwnel yn fwy nag y gwna â'r rhai a wrthodant ei wneuthur; dyma deimlad—dyma brofiad gwybodus i ni a'r hwn cyd-dystia profiadau yr oll a'i gwnaeth ac a'i gwna. Pwy a ddymuna deimlo yn ddedwydd, Frodyr? Dyma'r ffordd! Pwy o honoch chwi chwiorydd, a ddymunech fod o fawr fendith a chael eich mawr fendithio? Dyma'r ffordd? Rhybuddier,—rhybuddier eich cymmydogion drwy draethodau a thystiolaethu; canys, gorchymyna Duw hyn, ac nid oes ond byr amser i'w wneuthur cofier, cyn y del y blinfyd. *Prynwch* yr amser oblegid y dyddiau sydd ddrwg!!

---

CYMMANFA MEIRIONYDD,—A gynnaliwyd yn Mlaenau, Ffestiniog Sul, Mehefin 4ydd. Cynnrychiolwyd Cangenau 6, Hend. 15, Off. 6, Ath. 2, Dia. 1, Bedyddiwyd 2, Cyfanrif 72, addunedwyd yn unfrydol i gynnal yr holl Lywyddiaethau Eglwysig drwy eu gweithredoedd a'u gweddiau ffyddiog; cafwyd addysgiadau gwerthfawr gan y Bugail J. Parry a phregethodd ef, y Llywydd R. Evans, a'r Henuriad R. Parry yn ddylanwadol ar y cynnulleidfaoedd gwyddfodol, y rhai a ddangosent argoelion eglur o'u crediniaeth yn y gwirioneddau a glywent; Ysbryd y gwirionedd a'u hargraffo ar eu calonau, a'u dygo yn ufyddion iddynt ac yn fwynhawyr o'u lles.

Dymuna y Llywydd a'r Bugail yn daer, gael brodyr i'w

cynnorthwyo yn Ffestiniog a'r cylchoedd: y mae anghen Henuriad gwrol yn Caernarfon, arall yn Bethesda, ac mewn amryw fanau cylchynol yn fawr iawn, gellir cael gwaith a phris da a lluoedd o wrandawwyr. Frodyr! Pwy a aiff? Nid yw ein byddin o *Wirfoddoliaid*, erbyn eu dosparthu i'r lleoedd mwyaf anghenog ond dangos llefydd ereill lle y mae braidd fwy anghen fyth. I'r maes ynte, Frodyr! y rhai a fynwch "goronau anniflanedig" dyma'r ffordd i'w hennill! Y rhai a fynwch fyned i Seion, dyma'r ffordd i gychwyn,—ewch mor belled y galloch dan rybuddio y fforddolion tua barn, mai fforddolion tua Seion ydych—mai yno y geilw Duw, ac mai yno yn unig y ceir diogelwch rhag y barnedigaethau ofnadwy sydd fel cymmylau beichiog gan ddigofus nwyd yn mron hollti ac arllwys ar eu gwarthaf. Ymrown, " wyliedyddion Seion" a osodwyd gan Dduw ar y caerau i rybuddio o'r blinfyd dyfodol; cofier mai y neb a wel y cleddyf yn dyfod ac ni rybuddio y wlad, a lladd o'r clefyd hwynt, y byddant feirw yn eu pechodau, eithr y gofynir eu gwaed oddiar law y gwliedydd hwnw. Dyma ddiysgog gyfraith ein Duw, a'i cadwa, a geidw ei enaid ynghyd a'r rhai a wrandawant arno—a'i trosedda a ddelir yn gyfrifol gan ei Hawdwr a chan y colledigion a'i gwynebant am gyfiawnder dyladwy iddynt, o herwydd esgeuluso o hono eu rhybuddio yn brydlon o'r barnau a ragwelai! Cofier Jona, cofier gwraig Lot—cofier dydd y cyfrif, ac mewn pryd cyfrifer y gost o esgeuluso rhybuddio ein cyd-ddynion"

Hysbyser ni gan y brodyr a all fyned i winllan Duw ar ei alwad, mor brydlon ag y gallant, naill a'i drwy ymweliad neu lythyr, a'u hamgylchiadau, fel y gallom flaen drefnu ar eu cyfer. Yn awr yw yr amser goreu o'r flwyddyn i fyned, o herwydd addasrwydd y tywydd i bregethu allan ac i ddosparthu traethodau; pan ddel y cynheuaf ni fydd mor hawdd gan bobl y wlad ddyfod i wrandaw; yn *awr* yw yr amser cymmeradwy—yn *awr* gwneler ynte, Frodyr, a'r Hwn a'ch pia a dâl i chwi ar eich canfed!

*Penfro Ddeheuol.*—Mae y Llywydd Price a'r Saint yn bur ddiwyd yn pregethu a thraethodu tua Hwlffordd. &c., a'r pregethwyr fyth, fel yn mhob oes a gwlad, yn frain duon yn pigo yr hâd da cyn y caffo ddyfnder daear; rhyfedd na fyddai gan Wesleyaeth ddigon o waith i'w phregethwyr, yn lle eu hela i

bregethu Mormoniaeth; cywilyddia Mormoniaeth arddel y cenadon a anfonant i'r maes, o herwydd y maent wedi eu tyngu i ddweyd pob peth *ond y gwir*, tra y *gwir yn unig* yw Mormoniaeth. Gwell iddynt fyned a hwy i'w hysgol Sul yn nesaf i dynu *brwsh* arall drostynt i'w gloewi. Mae yr hen ffasiwn o dreio y "Jacks" a ddaw o'r Coleg yn erbyn Mormoniaeth, fel yr eir â cheiliogod weithiau i'w treio i ben tomen ddieithr, yn ffasiwn *newydd* yn Hwlffordd yn awr, a mawr y stripio ati y mae y "Jacks" diweddar hyn, fel pe'd anghofiasant eisoes, fod eu holl gewri pengaled a ymladdasant â hi, wedi curo eu hymenyddion allan yn erbyn ei thalcen caled hi. Ond pa wiw dysgwyl iddynt hwy gymmeryd rhybudd, "fel y ceir y tad y ceir y plant o dyfiant ac o dafod," hyd eu tranc, onide, nid geirwir mo Twm o'r Nant.

---

INDIA DDWYREINIOL.—Dywed ein hybarch frawd N. V. Jones o Galcutta, fod yr Henuriaid yn ffyddlon iawn i bregethu drwy lawer o anfanteision, yn yr India ddwyreiniol a gogleddol. Y Newyddiaduron, ar ol chwydu eu haflendid afiachus, fel arfer, a gauasant eu penau rhag cyhoeddi amddiffyniadau; ar ol dweyd y cruglwyth ystoriau am yr "Hen Joe," y "Spalding Romance," a mil ond un o rai mor ddwl â hwythau, perswadiodd yr Offeiriaid hwynt nad lle gweddus oedd colofnau Newyddiadur i ddadleu am grefydd, eithr arosant i weled eu dadleuydd yn colli y dydd cyn dweyd hyn, bid siwr. Mae yr Offeiriaid wedi dangos mwy undeb ac ymdrech i rwystro i'r Saint gael gwrandawiad gan y werin, nac mewn dim arall yn y wlad; anfonasant lythyrau i'r holl amddiffynfeydd drwy yr India, i rybuddio y bobl i beidio gwrandaw ar "gabledd Mormonaidd," a rhybuddiant yr Indiaid hyd y nod i beidio eu derbyn i'w tai, eithr eu gorfodi i orwedd allan yn mhlith bwystfilod, neu stablau brwnt yr anifeiliaid, a dymuno eu newynu pe gallasent, tra eu hunain yn gloddesta ar gost ceiniogau a dimeuau y tlodion drwy Gymru. O ddydd y tâl, pa hyd yr oedi? Dychymmygwn glywed, "*Ychydig* bach etto." Fel hyn teithiodd rhai o'r brodyr am fwy na mil o filltiroedd drwy wlad afiachus, yn mhlith y fath bobl, a dychwelasant wedi cael profion digonol eu bod yn gwrthod yr efengyl. Cyhoedda yr Henuriad Findley draethodau ar yr egwyddorion cyntaf mewn manau

ereill. Cyfieithir Llyfr Mormon i'r Bengalaeg yn Calcutta, lle y bedyddiwyd wyth yn ddiweddar. Bwriedir ymfudo y Saint oddiyno i Seion y tymhor nesaf. Cynnydda y gwaith yn Madras yn *ddiweddar*,—a gobeithion da, a'r Indiaid yn llawenhau yn mreintiau a doniau Eglwys Dduw.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH YR HENURIAD DEWI ELFED JONES.

*Llanelli, Mehefin*, 12, 1854.

MYGEDAWG LYWYDD JONES.—Dywenydd genyf allu eich hysbysu y fod gwaith Duw ar gynnydd yn y Gynnadledd hon. Tystiolaethu o dŷ i dŷ, traethodu, pregethu ag sydd ar ymdaith hwylus trwy hyd a lled cylch ein llafur. Taer eiddunwn am ragor o'r *Gwirfoddiaid* i ymweled â ni; daeth dau attom—eu gwaith sydd o'u blaen. Cydweithir yma gyda bywiawgrwydd cynnyddol.

Y tystiolaethu, &c., a esyd y lleoedd hyn yn un cyffro byw o ŵr i ŵr; a theimla y swyddogion ag ydynt yn *ddiwyd* wrth hyn, fwy o nerth ynddynt nag a deimlasant erioed o'r blaen. Ac yn gymmaint a bod effaith daionus wedi, ac, yn canlyn y Cymmanfaoedd neu y Cyfarfodydd Cyhoeddus a gynnaliasom y llynedd, mewn amryw leoedd lle nad oedd Saint, yr ydym o ddifrif wrthi eleni drachefn. Hon yw y ffordd oreu a brofasom ni yma er darostwng rhwystrau, a chreu dylanwad dros y Saint. Dyma y dull yr awn yn mlaen, sef yw hyny. Pan fyddo gwrthwynebrwydd llidiog i'r swyddogion i bregethu mewn unrhyw le, ymdrechwn yn ddioed i gael caniatâd i godi *Stage* yn rhyw fan cyfreithlon a chyfleus yn y cyfryw le, yna nodwn y Sul y pregethir yno, gosodwn o chwech i naw o Henuriaid i bregethu, rhai am ddeg o'r gloch y boreu, dau prydnawn, ac am chwech yr hwyr. A buom yn llwyddiannus bob cynnyg. Cawn wahoddiad o bob lle y buom, i fyned yno drachefn.

Croesawir ni weithiau gan *rai Police*, trwy ein bygwth yn llym a chwerw, gyda llygaid pwmparla, a golwg ddigasog. Cymmerir ein henwau ganddynt dan grynu, a'u gwynebau fel yr eira neu'r calch. *Tools* ydynt y pryd hyn, yn nwylaw Parchedigion, stewardiaid *societies*, a Lordiaid y sectau. Ond ni'n dawr ni pwy fo yn

ein herbyn, tra Duw genym. Diolch iddo am ei nerth i ni yn ngwyneb gwrthwynebiadau gelynion llidus a chreulon.

Sul y 4ydd o'r mis hwn, cynnaliasom Gymmanfa bregethu yn y Fân Galch, mewn tŷ ardrethol genym at wasanaeth y Gangen yn y lle, yr hwn a agorwyd i'r perwyl y dydd uchod. Mae yn dŷ bach cyfleus dros ben, wedi ei lorio â main a chalch, ac ynddo esgynlawr a phwlpud hylaw a thwt anghyffredin. Yn ei ymyl y mae lle wedi ei wneyd mal yn bwrpasol at fedyddio, yr oll am resymol ardreth blynyddol. Pregethwyd yn y cyfarfod gan y brodyr canlynol:—D. Davies, John Edmunds, Morris Jenkins, Thos. Jones, Llywydd Cynnadledd Caerfyrddin, J. J. Phillips, Dewi Elfed Jones, a'r Llywydd Thomas Jeremy.

Wedi terfynu y cyfarfod, aethom i làn y llyn lle yr oedd amryw edrychwyr. Canodd y côr Ac wedi gweddio gan yr Henuriad D. Davies, galwasom ar y Llywydd Jeremy, yr hwn a bregethodd yn "*short and sweet*" ar fedydd. Yna yr Henuriad Thos. Rees a aeth i'r dwfr, a bedyddiodd un o aelodau y Bedyddwyr yn Pont Henry. Da genyf weled fy hen frodyr a'm chwiorydd yn dyfod ar fy ol i gael gafael ar y gwir fel y mae yn yr Iesu. Tystiodd ereill eu penperfyniad i ymuno yn fuan. Dranoeth, aeth tri o honom i Bontyberem, a chawsom gyfarfod adeiladol iawn yno. Yr hwyr canlynol, pregethodd y brawd D. Davies a minnau allan yn ymyl pentref bychan ar Fynydd y Cerrig, i gynnulleidfa o wrandawwyr astud a boddus. Yr hwyr canlynol mewn lle arall, o flaen tŷ cymmydog caruaidd, pregethodd J. J. Phillips, D. Davies, a minnau. Mae yn y lleoedd hyn amrai wedi addaw cymmeryd eu bedyddio yn fuan.

Cynnelir y Gymmanfa nesaf yn Porthyrhyd, Llanddarog, lle y dysgwylir y bydd *stage* mewn lle cyfleus i bregethu, ac i gannoedd o wrandawwyr glywed geiriau y bywyd.

Yr ydym wedi penderfynu bod yn rhydd a glân oddiwrth waed pawb oll o fewn y Gynnadledd hon. Byddwn daer yn nerth ein Duw i dystiolaethu, traethodu, a phregethu nes y byddo creigiau yn clecian, bronydd a gelltydd yn ymateb y naill y llall, cwmydd a dyffrynoedd yn diaspedain drwyddynt oll, gan sŵn pregethu efengyl ein Harglwydd Iesu Grist, o eneuau gweision awdurdodedig Duw Abraham, Isaac, Jacob, a Joseph. Offeiriaid a pharchedigion, pregethwyr a diaconiaid, aelodau a gwrandawwyr sectariaid a gyffroir genym trwy rym dwyfol wirionedd, fel y

byddom rydd oddiwrth eu gwaed, ac y byddont hwythau yn ddiesgus yn y dydd a ddaw.

Mewn gweddiau aml drosoch, a dymuniadau parhaus am nerth yr Ysbryd Glân, ynghyd a bendith Duw ar ein llafur,

Y gorphwys yr eiddoch yn ostyngedig,

Dewi Elfed Jones.

---

## NEWYDDION DIWEDDAR O DIRIOGAETH UTAH.

Cafwyd tymhor pur iachusol drwy yr holl sefydliadau, y mae ugain o ysgoldai mawrion a chyfleus yn Ninas y Llyn Halen eisoes, ac ereill yn cael eu hadeiladu, heblaw bod ymroadau teilwng ar y pen hwn yn cael eu gwneuthur yn yr holl sefydliadau; yn Lehi, Dinas y Llyn, Bryn hyfryd, Springville, Palmyra, Payson, ac mewn amrywiol ddinasoedd newydd ereill, cynhaliwyd ysgolion yn y gauaf diweddaf. Cyhoeddodd y Cyfieithydd D. B. Huntingdon, yr ail argraffedig o'i Ramadeg o iaith yr *Utahs* a'r *Shoshone*, arall a gyhoeddodd Ramadeg o iaith *Piedes*, a gwneir ymdrechiadau cyffredinol a selog gan y Saint i ddysgu ïeithoedd yr Indiaid cylchynol, llawer o ba rai a ymbleserant yn eu hyfforddi yn hyny, hyd nes y gallant yn y sefydliadau deheuol bregethu yn ddealladwy i'r Indiaid. Daeth Walker a'i gedyrn i mewn yn ostyngedig i ymbil am heddwch â'r Saint, ac ymrwymodd hyd a allai i gadw heddwch yn mhlith yr Indiaid. Mae y gwaith haiarn yn bur llwyddiannus, a'r Indiaid cylchynol yn gyfeillachgar ac yn foddlon i weithio; mae pob argoelion yn dynodi y ceir cynheuaf toreithiog, ac y bydd llawnder o ymborth yn y Diriogaeth eleni, gyda diwydrwydd; mae y mûr cylchynol i'r Deml, wedi cynnyddu yn raddol drwy y gauaf, a chwblheir yn gynnar yn y gwanwyn. Ad-reoleiddiwyd y fyddin yn saith catrawd traed, ac un o wyr meirch. Yn Nyffryn Utah agora y gwanwyn yn gynt nag yn Nyffryn y Llyn Halen Mawr eleni, llafuriant y ddaear yn hwylus yn Mawrth. Yr oedd yr ymfudwyr i California, a arosasent yno dros y gauaf, eisoes wedi cychwyn eu taith. Dechreuwyd mûr o amgylch Dinas Provo yn bedair milltir ei hyd. Digon tebyg y costia y gwenith dri dolar y bwshel cyn y cynheuaf. Adeiladir mûr o gerrig oddiamgylch Dinas y Bryn hyfryd, o tan Lywyddiaeth yr Esgob John Banks. Adeilad-

wyd amryw felinau llafur yn y gauaf diweddaf. Mae y brodyr Danaidd yn gwladychu yn San Pete, cyfranir iddynt ymborth a llafur hâd ar yr ammod o eu bod yn gweithio ei werth wrth adeiladu ysgoldŷ iddynt eu hunain.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

### GWOBR AM WERTHU NEU DDOSPARTHU TRAETHODAU!

Gwobrwywn y sawl a *wertha* fwyaf o'n traethodau o hyn i ddiwedd y flwyddyn â chyfrol yn cynnwys yr oll a gyhoeddwn yn y flwyddyn hon, ynghyd a *darlun o'r awdwr*, wedi ei rhwymo gystal ag y gallwn gael ei rhwymo; y rhai a redant am y gamp hon, ymddiosgant atti hi, canys y mae rhai o redegwyr buan y Deau yma wedi cychwyn eisoes!

Etto.—Gwobrwyir hefyd â'r cyffelyb wobr y neb *a ddosparthu* fwyaf o draethodau yn y cyfamser, anfoned i'n hysbysu o'r rhif ag enw ei Lywydd wrth ei ddanghoseg, er sicrhau y wobr. Cerfir arno mewn *llythyrenau aur* am ba orchestwaith y ennillwyd ef, a bydd yn goffawdwriaeth i gymhell eu hachau i efelychu y gwron a'i caiff. Gwell fyddai genym i un o'r chwiorydd ei ennill!! Pwy a'i caiff?

☞ Etto, coffhawn y Llywyddion y gofynir y cynnrychioliad hanner blynyddol, o bellaf, cyn pen y 4 diwrnod ar ol y dydd diweddaf o Mehefin yn cynnwys enw y Gynnadledd, rhif y Cangenau, Arch-Off. Hend. Off. Ath. Dia. Ysg. Bu farw, Ymf. Bed. er y cynnrychioliad blaenorol a'r y cyfanrif aelodau, yn cynnwys y Swyddwyr a'r rhai gwasgaredig, ynghyd ag enwau y Bugail, Llywydd, ac Ysgrifenydd. Gwnaed pob un eu hunain yn hysbys o'r cyfarwyddiadau a welir yn y *Star*, Cyf. xv, tud 474.

Derbyniadau am Lyfrau o Meh. 13 hyd 21.—Sir Fynwy, £2; Gorll. Morganwg, £3 10s.—*Cangenau Dwyr. Morganwg*—Caerdydd, 17s; Dinas, 2s 6c; Pontypridd, 16s 6c; Cap Coch, £1; Georgetown, 9s 4c; Ffynnon-Tydfil, 2s 2c; Troedyrhiw, 10s.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 25.] GORPHENAF 8, 1854. [CYF. VII.

## YR UNFED EPISTOL CYFFREDINOL AR DDEG PRIF LYWYDDIAETH EGLWYS IESU GRIST, SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF.

*At y Saint yn Nyffrynoedd y mynyddoedd, ac at y rhai sydd ar wasgar drwy y ddaear, yn annerch:—*

ANWYL FRODYR.—Y dwys a'r parhaus awydd a feddwn am lwyddiant Seion, a chynnyddiant Teyrnas y Gwaredwr ar y ddaear, ynghyd a'n dymuniad i lesoli, cysuro, a dyddanu y Saint yn eu brwydrau yn erbyn dichellion Satan a gallu y gwrthwynebydd a'n cymhell i gymmeryd ychydig amser i ddarlunio i chwi rai pethau yn hanesyddiaeth y mynedol, ein sefyllfa gyffredinol, ein bwriadau, dymuniadau, &c., er eich cysur a'ch hyfforddiant.

Er dyddiad ein Hepistol Cyffredinol blaenorol derbyniasom hysbysiadau am lwyddiant cyffredinol Efengyl Crist, oddieithr ychydig eithriadau, yn mhob man ei pregethwyd hi; yr hyn a gysura ein heneidiau, ac a achosa i'n calonau lawenhau yn naioni Duw i'n cyd-ddynion, drwy dueddu calonau y rhai gonest yn mhlith cenhedloedd y ddaear at y gwirionedd, megys y mae yn Nghrist Iesu.

Mae llwyddiant cyffredinol wedi coroni ein hymdrechiadau, gartref, ac oddicartref, ac y mae y gwaith yn cynnyddu yn gyflym drwy yr holl fyd. Agorodd yr Arglwydd y ffordd o flaen yr Henuriaid mewn gwledydd Tramor, ac ar Ynysoedd y Môr mewn modd rhyfeddol. Galluogwyd yr Henuriaid a anfonwyd i gyrhaedd yn brydlon i'r gwahanol orsafon a

appwyntiwyd iddynt, a chaniatawyd iddynt aros yno i bregethu yr Efengyl yn ei chyflawnder yn mhob man, oddieithr Prussia a'r India Orllewinol.

Dychwelodd y Brodyr Hosea Stout, James Lewis, a Chapman Duncan o'r genhadiaeth Chiniaidd, wedi tirio yn Hong Kong, heb allu gwneuthur unrhyw ddylanwad, na sefydlu baniar y gwirionedd yn yr Amherodraeth alluog hono. Achoswyd hyn gan gyflwr cythryblus y wlad, yr hyn a'u lluddiodd i dreiddio i mewn iddi, ac i ymhysbysu eu hunain yn ei harferiadau, eu defodau, ac yn iaith y bobloedd.

Yn Ynysoedd Sandwich, dan arolygiaeth yr Henuriaid Philip B. Lewis, George D. Cannon, B. F. Johnson, ac ereill, mae y gwaith yn hynod o lwyddiannus. Drwy hysbysiadau oddiwrth y Brodyr Lewis a Cannon, dyddiedig Honolulu, Hydref 20, 1853, deallwn fod dros dair mil wedi cael eu bedyddio, a bod Henuriaid brodorol, a'u holl galon wrth y gwaith o gyhoeddi y newyddion da, y rhai sydd i'r holl bobloedd. Sefydla y genhadiaeth Argraffwasg i argraffu Llyfr Mormon yn yr iaith frodorol, yr hwn sydd eisoes wedi cael ei gyfieithu yn barod i'w gyhoeddi.

Yn yr Ynysoedd Cymdeithasgar, mae erlidigaeth yn parhau mor arw yn erbyn y Saint, nes rhwystro cyfrinachau, a'r Henuriaid Americanaidd wedi gorfod ymadael: eithr parhant, serch hyny, yn eu hymdrechiadau i gyfeillachu a'r brodorion, llawer o y rhai, er gwaethaf erlidigaeth, a barhant, yn ol yr hysbysiadau diweddaraf, i ddysgu ac ymarferyd egwyddorion bywyd ac iachawdwriaeth, a dderbyniasent gan yr Henuriaid Pratt, Grouard, ac ereill, a fuasent yn eu plith. Ymchwilia y Brodyr am Ynys, ar yr hon y gallant ymgasglu mewn heddwch, a'u gwaredu odditan y dylanwad niweidiol a achosir drwy gyfeillachu ag estroniaid yn eu cyflwr presennol.

O Awstralia cawn newyddion pur ddyddorol. Tiriodd yr Henuriad Wandell yn San Bernardino, ac etholwyd yr Henuriad Augustus Farnham, o'r ddinas hon, i lywyddu ar y genhadiaeth hono. Sefydlwyd cyhoeddiad o'r enw "Gwyliedydd Seion," yn Sydney, Deheudir Cymry Newydd, yr hwn a argoela gael cefnogaeth ddyladwy, a gwneuthur llawer o ddaioni. Cynnwysai y gwahanol Gynnadleddau hyny amryw gannoedd o Saint, ac y mae cynnyddiant beunyddiol. Yr oedd

yr Henuriad Burr Frost yn Melbourne, a'r Henuriaid ereill yn wasgaredig ar hyd y wlad. Bwriadai yr Henuriaid Farnham anfon genhadiaeth o Sydney, i Hobart Town, Van Dieman's Land, ac i Zealand Newydd.

Gwaredwyd cenhadiaeth Calcutta yn rhyfeddol o ddaionus rhag yr heintiau a'r tymhestloedd arferol i'r cylchoedd hyny, yn eu symmudiadau o fan bwy gilydd, yn y cyflawniad o'u hamrywiol ddyledswyddau. Ymwelodd yr Henuriaid oddiyma ag Ava, yn Ymherodraeth Burmah, Dinapore, Chinsurah, Madras, a Ceylon, a dysgwylir y fod y Brodyr Ludington a Savage eisoes yn Siam. Mae yr Henuriaid Findlay, West a Dewey yn Bombay, ac y mae yr Henuriad Willis wedi bod yn llafurio yn yr India Ogleddol.

Yr oedd yr Henuriad Jesse Haven yn Cape Town pan y clywsom ddiweddaf, wedi gwneuthur dechreuad a gobeithion daionus.

Mae holl genhadiaethau Ewrop yn llwyddiannus, oddieithr Prussia. Mae y gwaith yn cynnyddu er yn arafaidd, etto yn sefydlog yn Germany, Fraine ac Italy. Cyfieithwyd Llyfr Mormon i'r iaith Gymraeg, Ellmynaeg, Ffrengaeg, Idalaeg, a'r Danaeg. Ni chlywsom am farwolaethau yn y cenhadiaethau Tramor, oddieithr Willard Snow, yr hwn a fu farw a'r fwrdd llong tra yn hwylio o Copenhagen tua Hull, ar y 25 o Awst, 1853.

Ni arosodd yr Henuriaid a anfonwyd i Ynyosedd yr India Orllewinol yno yn hir, o herwydd y drwgdybiai yr awdurdodau amcan eu presennoldeb yn eu plith. Hwyliasant hwy ynghyd a'r rhai a anfonwyd i'r Guiana Frydeinig, i'r Unol Daleithiau lle y maent, oddieithr Elijah Thomas, yr hwn a ddychwelodd yr Hydref diweddaf, yn parhau i lafurio.

Mae yr Henuriad Orson Pratt yn Ninas Washington, yn cyhoeddi y *Seer*, eithr a ddychwelodd y tymhor hwn; fel y gwna hefyd yr Henuriad S. W. Richards ag sydd yn awr yn llywyddu yn Mrydain, a H. S. Eldridge, y Llywydd yn St. Louis.

Mae yr Henuriaid Lyman a Rich yn Llywyddu a'r sefydliad San Barnardino, yr hwn sydd mewn sefyllfa flodeuog. Llafuriodd y gweddill o'r Deuddeg Apostol, er dyddiad ein diweddaf, yngwahanol sefydliadau y Diriogaeth hon, yn ol y galwadau achlysurol.

Ar y 15 o Hydref, cychwynodd gorymdaith o tan arolygiaeth y brawd Orson Hyde tua Swydd yr Afon Werdd, a sefydlasant ar Aber Smith, a galwant y lle yn *Fort Supply*. Eu rhifedi sy tua chant o wyr nerthol.

Mae y sefydliadau deheuol wedi cynnyddu hefyd yn eu poblogaeth yn unol a'r cyfarwyddiadau a roddwyd yn y Gymmanfa ddiweddaraf.

Ar yr 16 o fis Tachwedd, tiriodd y brif osgordd o'r Saint a ymfudasent drwy gynnorthwy y Gymdeithas Ymfudol Barhaus, yn iach a chysurus, heb i unrhyw anffawd neillduol ddygwydd iddynt ar eu taith, oddieithr mewn anifeiliaid.

Ar y 25 o'r un mis gorchuddiwyd wyneb Dyffryn y Llyn Halen Mawr ag eira, eithr parhaodd y tywydd yn dymherus o'r pryd hwnw hyd oddeutu y 10 o Ionawr, er pa amser, hyd oddeutu y 18 o Fawrth, cawsom dywydd go stormus yn lled gysson—yr hinfesurydd ar brydiau o gylch pedwar ar bymtheg o raddau islaw y pwynt rhewog.

Ar yr 8 o Hydref tiriodd Cadben Morrison, a'r gweddill o osgordd y diweddar Cadben Gunnison, y rhai a fuont yn chwilio am y lle goreu i gledr-ffordd i'r môr tawel, arosasant yma am gyfarwyddiadau, ac i'r tymhor feirioli, hyd Ebrill y 4ydd, pryd yr ail ymosodasant ar eu hymchwiliad.

Cynnaliwyd ysgolion cyffredinol mewn gwahanol fanau o'r ddinas, ynghyd ag ysgolion i ddarlithio ac i ddysgu ieithoedd drwy y ddinas. Yr Henuriad P. P. Pratt a ddysgai yn yr Ysbaenaeg, D. B. Huntington yn ieithoedd yr Utah a'r Shosone; efe a gyhoeddodd eiriadur hefyd yn yr ieithoedd hyny er addysg i'r ysgolor ieuanc. Cynnaliwyd cyfarfodydd yn gysson yn ngwahanol ysgoldai y ddinas, a chyfarfyddai y Corwnau yn gysson.

Cyfansoddwyd egwyddor newydd gan yr Athrofa, yr hon a ddysgwylir i fod yn bur llesiol er i estroniaid ddeall yr iaith Saesonaeg, yn ogystal ag i'r ieuenctyd yn ein gwlad. Cymhellwn hi i gymmeradwyaeth y bobl, gan ddymuno ar i ddysgawdwyr, ac ysgolfeistri ei hymarferyd yn eu hysgolion. Mae mawr anghen gwelliadau ar yr iaith Saesonaeg—*mae awgrymiad yn ddigon i'r doeth.*

Ar y 5 o Hydref agorwyd y "*Deseret Dramatic Association,*" yn y *Social Hall*, er hyny, cafwyd difyrwch o amrywiol fathau

ganddynt yn yr adeilad hwnw yn wythnosol, gyda rhai eithriadau.

Ar y 5 o Chwefror, cynnaliodd y Degau a thrugeiniau eu Cymmanfa chwarterol, yn y *Social Hall*, am ddeuddydd, a chafwyd gwrandawiad lliosog. Yn y cyfamser rheoleiddiwyd tri o gorwmau yn ychwanegol, sef y 37, 38, a'r 39

Cynnyddodd y mur allanol oddiamgylch y Deml gryn lawer er dyddiad ein Hepistol blaenorol, mae y gwaith maen a phridd feini wedi eu gorphen ar ddwy ochr a hanner, oddieithr y grib.

Mae y mur o gylch y Ddinas yn cynnyddu yn gyflym hefyd, a bwriedir ei orphen yn y tymhor presennol. Mae amryw o'r sefydliadau wedi diogelu eu hunain, drwy adeiladu amddiffynfau, etto arosa llawer i'w ei wneuthur. Mae yn bur ddymunol, ac erfyniwn ar y Saint na laesant eu dwylaw, ac na ddiffygiant yn eu hymdrechiadau hyd oni chwblheir eu hamddiffynfeydd. Er fod yr Indiaid yn heddychol yn awr, ac wedi bod felly er's rhai misoedd, etto, nid oes sicrwydd y parhant felly; o ganlyniad, anghenrheidiol yw er ein iachawdwriaeth dymhorol a heddwch y Diriogaeth, ein bod ni yn barod i gyfarfod ag unrhyw ymosodiad a ddichon ein cyfarfod. Nac ewch i'r Kanyons nac i unrhyw leoedd anghyfanedd yn unigol, lle y gall Indiaid ymguddio yn anweledig i chwi, heb yn gyntaf ddeall, drwy ymchwiliad, eich bod yn ddiogel. Ewch yn gwmniodd digon lliosog a chryfion i arswydo eich gelynion, ac yna, bydd llai o berygl iddynt ymosod arnoch. Felly, yn eich holl barotoadau bydd llai o anghen i chwi ymladd, myned ar orymdeithiau na goddef colledigion, os byddwch eisoes yn barod, ac yn gwbl alluog i amddiffyn eich hunain ar fynud o rybudd. Mewn enyd o ddiogi, diofalwch, neu ddifaterwch, y daw dinystr arnoch; "allan o olwg, allan o berygl," sydd ddiareb rhy ymgynnefinol. Dywedwn wrth yr holl Saint yn nyffrynoedd y mynyddoedd, yn enw Duw Israel, os na ufyddhewch i'r cynghorion ydych yn gael, a chyd-ymffurfio â dymuniadau eich arweinwyr, chwychwi a ddyoddefwch golled, yr hyn yw canlyniad naturiol anufydd-dod. Mŷn yr Arglwydd bobl a wnant Ei ewyllys, y rhai a gyd-ymffurfiant a'i ddymuniadau rhesymol. Os yn ewyllysgar, goreu oll; os nad yn ewyllysgar, gallant ddysgwyl cael eu ceryddu; canys ni oddefa yr Arglwydd ei ddirmygu

wedi iddo arllwys Ei fendithion o wybodaeth, yn ddiluw o oleuni drwy ddadguddio egwyddorion pur a santaidd, gwaredigaeth o ormes, a therfysgluoedd, a llwyddiant, heddwch, a llonyddwch anghydmarol.

O hyn allan ymrowch yn unfrydol i adeiladu eich amddiffynfeydd, amgauwch eich dinasoedd a'ch trefi, gwarchauwch a gwyliwch eich anifeiliaid a'ch meddiannau, cadwch eich drylliau a'ch arfau yn loewon, ac yn gyfleus i ddefnydd ar eiliad o rybudd, ac yna, wedi ymbarotoi fel hyn i gyfarfod â pherygl o bob cŵr, i amddiffyn eich hunain, gan ddyfal wylio am ymosodiad, os cyfarfyddwch ag Indiaid, byddwch garuaidd a chyfeillgar wrthynt; siaradwch a masgnachwch yn gyfiawn a chymmydogol â hwynt; ymdrechwch ennill eu hewyllys da, eu hadferyd o'u tueddiadau rhyfelawg, creulon, a lladronaidd, a'u syched am waed, ac i ymblesera mewn galwedigaethau gwareiddiol. Maent hwy fel ninnau yn nwylaw Duw. Gwnawn ein dyledswyddau a bydd pob peth yn dda. Ymdrechwn hefyd i achub ac nid dystrywio Israel, canys cyflawnir y Prophwydoliaethau o barthed iddynt. (*I'w barhau.*)

---

## SYLL'DREM AR Y BYD A'I "GRISTIONOGAETH."

Mewn amseroedd enbyd yn ddiau y cylch-droa ein byd bach ni yn awr—enbydrwydd ei awyrgylch, fel gwirf, a effeithiau ar golyddion ei breswylwyr—crea y bendro, nes, yn bendrist neu yn waedwyllt curant eu penau yn eu gilydd, o gŵr i gŵr o hono, o'eithafion cyffiniau rhewog Kamskatka, hyd eiriawg fynyddau Terra del Fuego, ac o China, India, Persia, Affganistan, Groeg a Thwrci, ffaglant eu drain o tan y crochan, nes y berwa ei hylyf dros ei ymylon, a pha wlad ni feddwir gan ei angerdd wenwynig! Os yw heddwch heb ei gymmeryd oddiar ein daear, dyweder yn mha gonglau o hono, mor ddyogel yr ymguddia! Mor ofer ein gwaith yn chwilio cyhoeddiadau yr oes—oraclau cyfoesol, hyd yn hyn am hanes ei breswylfod yn mhlith cenhedloedd y byd, ag yw i'r golygon chwilio am ei argoelion;—rhyfel, rhyfeloedd, a son am ychwaneg o ryfeloedd a ddarllenir yn mhob Newyddiadur; lladd llosgi, a llofruddio, gwyr, gwragedd a phlant, a dyfeisiadau newyddion i ddifrodi y bywyd dynol gyda mwy o gyflymdra yw yr hyn a dyna ein

sylw a'r hyd y waliau, o'r pwlpudau, esgynlawriau, a'r cyhoeddiadau drwy'r byd! Nid o dramor, eithr yn nes adref, y merwinir ein clustiau gan helyntion a thrallodion Cristionogion, dyoddefiadau newynaidd tlodion, cwynfanau trancedigion gormes, a rhieni a'u plant wrth yr hanner dwsin, gwelir, yn ymdrybaeddu mewn gwaed diniwed, gwaith eu dwylaw eu hunain! O Gristionogaeth! Beth a wnaethost ar ol cael hir chwarae teg;—ai cyflafan fel hyn yw effeithiau dy fawr ymffrost, a'th sêl frwdfrydig? Ai i ddysgu ein hoes yn y gorchestion hyn y cefaist gynnifer o filiynau o aur, ac arian i dreio'th law i lywodraethu byd? Ai at ddysgu ein gwlad y fath chwareuaeth yr adeiladwyd cynnifer miloedd o'th chwareudai, ac yr addurnir dydi a'th "Offeiriaid dyngarol" a goreuon gloddestion gwlad? Ai i'r dybenion hyn y cefaist ddylanwad fel ffrwd lifeiriol ar boblogrwydd dy ufyddion? Beth yw yr ateb? Pwy ai dywed? Beth! ai effeithiau eu hanufydd-dod iti yw hyn? Felly, ni rwystraist hwynt o leiaf, eithr cynnyddant gyda'th gynnyddiant, a lliosogant yn gyfartal i liosogiad dy offeiriaid a'th allorau! A'i ni elli eu rhwystro? Yna i ba beth yr ydwyt dda—y'th gynnelir ar y fath fawr gost, nac y'th addolir, ac yr ymffrostir ynot? Gan na wnaethost well trefn ar ol cael cannoedd o flynyddoedd o bob cymhorth a ofynit, beth a addawi wneuthur pe caffit einioes hwy? Os na elli ddwyn dy hudolion mwyaf penboethaidd i heddwch â'u gilydd, pa fodd yr heddychi elynion, teyrnasoedd, gwledydd—byd, i'r cyflwr ag y proffesi ei fod yn hanfodol i'th amcan?

Nid y'm yn dy gyhuddo o fod yn achosydd o'r gyflafan nac o'r dirywiad mewn moesoldeb a gynnydda gyda'th rwysg, digon drwg y cyhuddiad anwadadwy, na rwystri mo hono, ac nad wyt yn ei leihau. Os gelli, cyfranog o hono ydwyt am beidio! Os nad elli, ragrithreg wyt am broffesu y gelli tra heb ddechreu hyd yn hyn i ddwyn y ffrwythau! Beth pe buasai rhyw gelfyddyd, peiriant, neu gyfyndrefn arall, er yn llai ei hymffrost na thydi, wedi bod mor aflwyddiannus mor hir amser â thydi? Oni ddaroganid hi gan grytied ein heolydd er's llawer o amser bellach, am y ddyfais groesaf i'w phroffes a fu erioed, ac oni chywilyddiasai ei dyfeiswyr bellach, na'u hachau ar eu hol, ag addef y fod iddynt ran na chyfran yn y

fath ysgelerbeth? Diau mai felly y buasai,—ac wele yn wyrthiol, dan wadu gwyrthiau, dyrchafi di binaclau dy demlau i'r nef, yn gofadail o'th fodoldeb o hyd, yn ddigon digywilydd,—lliosogi dy allorau, a'th offeiriaid, a'th aberthau, fel pe byddit yn bwriadu byw yn hen ac yn frâs, ac i'th olaf ran fod y goreu o'th deyrnasiad; ond gwybydd hyn y fod gwaed dy ebyrth dynol yn rhuddio marmor loriau y llys a'th farna,—dy falchder a'th anymddibyniaeth ar ffynnonell darddiadol GWIR Gristionogaeth, a'th ymddiriediad yn dy egwan fraich ac awch dy hir-gledd a'th dwylla mewn awr o gyfyngder, ac ni'th waredir gan yr Hollalluog fraich a ddiystyri, griddfanau dy drancedigion nid esgynant i'w glustiau Ef yn hwy i deilyngu ei dosturi; canys cauaist, ïe, a *seliaist* y nefoedd â'th *gredöau* rhag iddo lefaru wrthyt; ni fỳni ei gyfraith, eithr gwawdi ac erlidi ei genhadon hedd, gan drochi'th ddwylaw mewn cerwin lle y'th foddir yn eigion ei chrombil ddihysbydd, pan y rhoddir i ti yn ddogn, "waddod y cwpan erchyll" a lanwaist i ereill! O "Gristionogaeth!" er dy rwysg a'th fawredd, gostwng dy glust uchel yn îs a gwrandaw air o wirionedd, sef dy dynghed, gwna a fynnot â'r oll a'th addolant,—fel maen melin i'r môr y bydd dy angladd onid edifarhei, a'th garwyr cyfoethocaf, a'th foethasant fwyaf fydd dy gaseion, pan y dynoetha Duw, dy wrthwynebydd, dy noethni ac echryslonrwydd dy draws-weithredoedd, a'th elyniaeth yn erbyn y *wir* Gristionogaeth,—y Gristionogaeth wreiddiol a adferodd Efe i'n daear, yn halen i'w halltu lle y peraist ti ddrewdod, yn oleuni i'w oleuo rhag y dudew gaddug â'r hwn yr amdoaist ti ef, ac yn edfrydydd i'w hufyddion o'r truenusrwydd a ddygaist ti arnynt, ac yn rhagflaenol i'r tân a ddifa—i'r pläau a ysant,—y rhyfeloedd a laddant—yr heintiau a'r ffrewyllau a ysgubant dy addolwyr anedifeiriol di oddiar dy chwareulawr, i wneyd lle i'w gwell, ac i ddwyn heddwch o'r diwedd i'th druenus ddyoddefyddion a'i derbyniant.

Dyma'th olynydd—a gwblhâ dy ymffrostwaith, a dry y cleddyfau yn sychau, ac a ddwg heddwch fel yr afon, ac a wna y "mawr-waith yn fyr mewn cyfiawnder." Hon yw hi!

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

### DYDD SADWRN, GORPHENAF 8, 1854.

Cynghor Cyffredinol yn Llundain.—Yr ydym newydd ddychwelyd o Gynghor a gynnaliwyd, o awdurdodau yr Eglwys yn Mrydain, a'r cenhadaethau cyfunol, a gynnaliwyd yn Llundain a'r y 26, 27, a'r 28 o Fehefin, yr Henuriad F. D. Richards, yr hwn sy newydd dirio o Ddinas y Llyn Halen Mawr, yn Llywyddu. Ymgyfarfu yr holl Henuriaid Americanaidd, Bugeiliaid a Llywyddion Cynnadleddau drwy Frydain, Ffrainc, &c., oddieithr Cymru, nid oedd ond pump oddiyma. Gan y cyhoeddir y mesurau a drefnwyd yno, cyn hir, ni raid i ni fanylu, a chan fod ein llawenydd o weled cynnifer o'n hen gyfoedion, yn gydweision, drwy bwys a gwres y dydd, yn orlawn o'r Ysbryd Glân, a'r fath lwyddiant ar eu llafur, yn annhraethadwy, nid anturiwn ei ddesgrifio yn awr; ond dywedwn, Anwyl Saint, ymgalonogwn, y mae Duw o blaid Ei waith ; y mae yn dadguddio Ei ewyllys i'w blant; ac y mae yn llenwi llestri Llywyddion Seion â doethineb oddifry. Prawf pob nodwedd o ysgogiad y deyrnas agosrwydd coroniad ei Brenin ; ac y mae dyddordeb yr egwyddorion mawreddog a ddadguddia Duw i'w Eglwys, megys hauliau drwy ei hawyr-gylch yn ddilynol i gysgodau eu gilydd yn profi mai rhagredegwyr ydynt i Haul mawr y Cyfiawnder,—mai "goleuni yn yr hwyr" ydynt i oleu Ei ffordd o'i flaen, i gynnyddu goleuni y cyfiawn fwy-fwy hyd ganol dydd, ac i amlygu trawster a thrythyllwch coel-grefyddol gwrthodwyr y gwir oleuni. O'r nefoedd dysglaeria goleuni i Seion yn llin ar lin, gogyfer a'u hanghen, a'r olaf y w y melysaf o hyd genym ni. Ymbarotoed y Saint eu calonau i dderbyn baich yr Arglwydd iddynt yn yr Epistol Cyffredinol a ddechreuir yn y rhifyn hwn, ceir chwaneg o hono yn y nesaf. Ymadawa ein diweddar hybarchus Lywydd S. W. Richards tua Seion yn mhen ychydig ddyddiau, wedi ennill cymmeradwyaeth

glodadwy gan y nefoedd, a chan ei holl frodyr, drwy ei ffyddlondeb yn ngwaith yr Arglwydd; gwynt teg a byrdaith a gaffo, a phob croesaw i Seion. Cawsom orfoledd mawr yn y gwmniaeth rag-grybwylledig, a theimlwn ei rhinweddau yn symbylu ein hysbryd i ymdrechu yn ngwaith yr Arglwydd fwy-fwy, a dysgwylied y Saint yn hyderus weled gallu Duw yn amlycach o ddydd i ddydd ar ei hol, drwy y wlad, a dysgwylir miloedd cyn hir i deyrnas ein Duw yn adnewyddol.

Y "STAR."—Hysbysa y Llywydd F. D. Richards, os oes gan Lywyddion Cynnadleddau fwy o gyfrolau cyfain o'r *Star* ar law nac a allant werthu, ar ol pob ymdrech ddyladwy, y pryna efe hwy ganddynt ar ddiwedd y gyfrol hon; nad dyben yr Eglwys yw cyhoeddi llyfrau i fod yn faich nac i orwedd yn segur.

Eithr sylwer, na chymmer yn ol ond cyfrolau cyfain, a'r rhai hyny, bob rhifyn o honynt yn lân, ac heb eu tori na'u darllen. Ac hydera na chymmer neb y fantais ar ei haelioni presennol drwy gasglu *odd* rifynau er mwyn gwneyd cyfrolau i'w troi yn ol; eithr ymdrecher i werthu yr *odd* rifynau, ac i dalu yr hen ddyled i'r swyddfa.

Hysbyser swyddfa y *Star* yn ddioed pa sawl cyfrol yn ormordol sydd yn dyfod iddynt, a chaffant gyfarwyddyd etto beth i wneuthur â hwynt.

YR UDGORN.—Cynnydda ein hofnau na chaniatâ ein hiechyd i ni barhau i gyhoeddi yr UDGORN yn wythnosol, a chyflawni yr holl ddyledswyddau pwysig ereill sydd yn gorphwys ar ein hysgwyddau, lawer yn hwy, oddieithr i ni gael cynnorthwy ffydd ereill, heblaw ein hunain, a nerth yr Arglwydd yn helaethach i'n galluogi; os metha ymweled a'i ddarllenwyr bob wythnos, na ddigier wrtho, canys ei bleser fyddai dyfod; etto, daw mor fynych ag y gall. Mewn atebiad i ddymuniadau mynych ein derbynwyr, dywedwn ein bod yn cydsynied mai doethach fyddai cael traethodau i'r byd wrthynt eu hunain, nag yn yr UDGORN, yr hyn fydd ein hamcan, oddieithr ambell ddyfyniad. Dymunem gadw pris yr UDGORN i lawr hyd y gallwn, am hyny anfoner gwybodaeth, pa nifer yn chwaneg a gymmerir o hono pe a delai allan ond bob pythefnos?

Ein diolchgarwch gwresoccaf i'r holl Lywyddion Cynnadleddau, am yr atebiadau prydlon a roisant i'n galwadau am

gyfrifon y Cymdeithasau, a'r cynnrychioliad hanner blynyddol, —nodwedder ein holl lywodraethiad dyfodol a'r cyffelyb hefedredd!

*Dyledion am Lyfrau.*—Cyhmared pob Llywydd ei gyfrifon â'r daflen ganlynol o ddyledion, a mŷned weled fod gwerth yr arian hyn o lyfrau ar law. Os oes camsynied hysbyser ni yn ddioed. Ymdrecher troi y gweddill yn arian mor gynted y bo modd.

Hyderwn mai yr ymdrech clodadwy a wnaed yn ddiweddar i ddosparthu traethodau er goleuo y byd, ac nid unrhyw esgeulusdod i dalu, a achosa y cynnydd yn y ddyled y chwarter hwn ar y chwarter blaenorol. Da y fod,—*dylai* fod amrywiaeth ar law pob Cangen er diwallu pob galwad yn brydlon—gofal teilwng o honynt, ac ymroad unfrydol i'w dosparthu a goronir â llwyddiant mawr ar achos y Gwaredwr yn ddiau· Esiamplau gofidus o'r hyn a ddygwyddasant yn ddiweddar a'n cymhellant i annog y Llywyddion i lygadgraffu ar fasnach y Llyfrau drwy eu holl ddosparthwyr! Awgrymiad i'r doeth sydd ddigonol!

Yr Ymfudiad.—Bydd yr hysbysiad am sefydliad ymgasglfanau yn y Taleithiau, o ddyddordeb mawr i'r Saint Cymreig yn ddiau, o herwydd yr hwylusa ymfudiad llaweroedd a allant fyned hyd yno, ag na allant fyned yn mhellach a'r unwaith; a dengys fawr ofal Llywyddion yr Eglwys am leshad y Saint, a'u hymdrechiadau diflino i'w casglu i ddiogelwch cyn dyfod y dyddiau blin. Pwy na ddiolchai am y fath dadau dyngarol i'w gyfarwyddo, ac i Dduw am gyflwyno iddynt y fath ddoethineb a rhagofal dros ei eiddo! Ein pleser a fo ufyddhau i'w cyfarwyddiadau.

Na feddylier fod y manau a nodwyd yn y Taleithiau, i fod yn "Ddinas barhaus" i'r Saint yn bresennol chwaith, nid yw yr amser dedwydd ag y caffant etifeddu swydd Jackson a'r gysegrfan addawedig i'r "ddinas nefol," &c., eisoes wedi dyfod, er ei fod wrth y drws, namyn rhoddi cyfleusterau i'r Saint i ennill modd yn gyflymach i ymgasglu i ddyffrynoedd y mynyddoedd. Nid yw y pläau wedi puro, na'r ysgubellau dwyfol wedi glanhau y wlad hono yn ddigon santaidd iddynt etto, ac nid yw y Saint wedi dysgu ufyddhau i'r gyfraith nefol yn ddigon manwl i weled Seion wedi ei hadferyd yn ei phrydferth

wch a'i santeiddrwydd hanfodol hyd yn hyn; o ganlyniad, yr anghen iddynt ymgasglu i'r ysgol barotoadol i'r cytnod anghydmarol hwnw, yn y fan lle y ceir y ddysgeidiaeth anhebgorol o'r nef yn llin ar lin, o ras i ras ac o nerth i nerth i deithio ffyrdd santeiddrwydd; o herwydd hysbys yw mai y pur ei ddwylaw ar glan ei galon yn unig, a breswyliant ar fynydd Seion, yr hwn a ddysgwyliwn.

Na fydded y brodyr a'r ormod o frys i ymfudo etto, canys nid ar frys cofiwn, eithr yn weddaidd ac mewn trefn y caria Duw y gyfran ymfudol o'i waith yn mlaen hyd yn hyn. Mae yn debyg y cyfnewidir y ffordd dros y môr yr ymfudiad nesaf, o leiaf i'r rhai a ddewisant fyned i'r sefydliad yn Ohio; nid yw y brodyr wedi cyrhaedd yno hyd yn hyn, a gofynir iddynt gael ryn amser i barotoi gogyfer a derbyn a llochesu yr ymfudwyr a'i cyrhaeddant, felly ymdaweler hyd oni chawn gyfarwyddiadau i hyny, yr hyn a addawir i ni yn brydlon oddiwrth y Lywyddiaeth Brydeinig, a throsglwyddir hyny drwy yr UDGORN yn ei bryd; hyd oni cheir y galwad, ymbarotoer drwy rybuddio, a thystiolaethu i'n cyd-genedl, drwy esiamplau teilwng, traethodu, pregethu, a phob modd a ellir.

Hefyd, ni ddylai neb ddysgwyl cymmeradwyaeth i ymfudo hyd oni fyddant wedi cyflawni eu haddunedau Eglwysig, am lyfrau, &c., a myned yn lân, fel na rwystrer gwaith ein Duw ar ol eu hymadawiad. Y rhai sydd ar frys i fyned a ddylent ddangos hyny drwy eu gweithredoedd ymbarotoadol!

---

## Y NEWYDDION DIWEDDARAF O UTAH.

Y 27AIN o Ebrill yw dyddiad ein hyfforddiadau diweddaraf o Diriogaeth Utah; mwynheid iechyd da drwy y gwahanol sefydliadau, gyda ambell eithriad anfynych, megys ein hybarch Batriarch John Smith, yr hwn a deimlai bwys henafiaeth yn ei yru yn gyflym tua therfyn einioes hirfaith o ddefnyddioldeb a llawn o hynodrwydd y dyddiau diweddaf; ac fel Jacob gynt hiraethau ein hen Batriarch am gael huno gyda'i dadau, a gorphwys eu ben ar fynwes ei dad Abraham. Gwneir ymroadau nerthol i hau mwy o lafur nag erioed, ac i yru amaethyddiaeth yn ei holl gangenau hyd gyffiniau dyffrynoedd breision Ephraim, a'i gorfodi i ddwyn lluniaeth i'r miloedd dyfodol, o blant Seion, y tymhor

hwn. Adeiladau a welid fel y *mushrooms*, o bob maintioli yn neidio o'u seiliau i fodoldeb yn mhob cŵr, hyd nes yr oedd nwyfau i adeiladu, ac adeiladwyr yn brin iawn, a'u cyflogau yn uchel. Yn gyferbyniol i gynnydd ffydd a duwioldeb y preswylwyr, y cynnydda y cawodydd ireiddlon o gynnar wlaw ar eu dolydd a'u gwinllanoedd, yr hyn sydd o fawr fendith i'r wlad oedd gynt yn grasdir o anghen gwlaw, a rhan fawr o'r hon ni ellid ei dyfrhau o'r afonydd. Prawf arall yw hyn o ofal Duw dros ei eiddo. Dechreuwyd adeiladu Cynghor-dŷ newydd ar gongl ogledd orllewinol rhandir y Deml. Mae y peiriant i wneyd siwgr yn bur lwyddiannus, o dan arolygiaeth yr Esgob A. O. Smoot; rheoleiddiwyd gwarcheidwadaeth newydd iddo, o'r enw Tŷ Siwgr.

Sefydlodd y Llywydd Young seiliau dinas newydd, a'r rhandir i adeiladu ynddi yn hanner erw yr un; gorwedd hon tua deg milltir i'r gogledd o ddinas y Llyn Halen Mawr, ond nid yw wedi ei henwi etto. Cychwynai y Llywydd ar ei ymweliad blynyddol â'r holl sefydliadau deheuol yn gynnar yn Mai. Bwriadai yr Henuriaid Woodruff, Smith, Benson, ac E. Snow, yngbyd, ag ni wyddys pwy arall, ei ganlyn ef. Penodwyd i P. P. Pratt i sefydlu ymgasgl-fan yn California Uchaf, yn, neu yn agos i St. Jose. Awdurdodwyd Orson Pratt ac Orson Spencer i sefydlu ymgasgl-fan i'r Saint yn Ohio, gerllaw i Cincinatti. Dysgwylid i'r Henuriad Spencer fyned yno, a dechreu ar ei orchwyl yn ddioed. Tebyg y treilia Orson Pratt y gauaf dyfodol yn Utah, ac ymuna ag Orson Spencer yn y gwanwyn. Anfonwyd Erastus Snow i sefydlu ymgasgl-fan arall gerllaw i St. Louis. Yr Henuriad Milo Andrews a lywydda yn St. Louis o dan arolygiaeth yr Henuriad Snow. Anfonwyd Cyrus H. Wheelock, James Ferguson, W. C. Dunbar, a naw ereill ar genadiaeth i'r Ynysoedd Prydeinig; deunaw ereill i'r Unol Daleithiau; ugain i ynysoedd y Môr Tawel, a thri i Ogledd Amerig.

Yn Manti, adeiladid amddiffynfa newydd yn amgauad trugain erw ond un, o feini ac *adobies*, i fod yn 8 troedfedd o uchder. Yr oedd yr ochr ddwyreiniol wedi ei gorphen yn gynnar eleni, a chyfran helaeth o'r ochrau ereill. Yr oedd dwy felin, un i falu a'r llall i lifio coed oddifewn i'r ddinas. Bwriadai hanner cant o deuluoedd o Manti ymsefydlu mewn lle o'r newydd, a elwir Pine Creek, chwech milltir i'r deau; adeiladent amddiffynfa yno, a'r borfa yn rhagorol o dda.

Ymsefydlodd amryw deuluoedd yn y Cotton Wood, deg milltir i'r gogledd; yr oeddynt eisoes yn byw yn eu hamddiffynfa, ac yn llafurio y ddaear â'u holl egni. Ymddygai yr Indiaid yn bur gyfeillgar,—amryw o honynt yn ymweled â'r sefydliadau. Migo, un o brif flaenoriaid y tylwyth a laddasant y brodyr yno, a anfonodd bump o'i ryfelwyr i'r ddinas i geisio heddychu â hwynt ar y 5med o Chwefror; yn ganlynol i hyn daeth Migo a'i fyddin i Manti yn bur gariadus, a dywedai iddo gael breuddwyd, yn yr hwn dywedodd yr Arglwydd wrtho, am beidio ymladd yn erbyn y "Mormonis," eithr am iddo heddychu â hwynt; a dangosodd fodrwy a wnaethai ar ei fraich i'r dyben o'i goffhâu o'i freuddwyd.

---

## LLYTHYR YR HENURIAD ROBERT PARRY.

*Trevor, Mai* 20, 1854.

Anwyl Lywydd Jones.—Nis gallaf foddhau y bobl hyn heb ysgrifenu i'ch hysbysu eu bod oll yn cofio attoch, Griffiths, Llanfair, Talhaiarn, Brooks y Lighthouse, amrai o Mostyn, Edwin Price, ei wraig, a'i fam, ynghyd a'r cyfeillion yn Fflint a Bagillt, yr oll o honynt, fel y gwnaeth llawer, llawer, llawer ereill, ddweyd yn barchus iawn am danoch; ac yr wyf yn ymlawenhau mewn cael cyfleustra i ddweyd wrthynt y llawer, o bethau da a welais ynoch.

Yr oedd y gynnulleidfa prydnhawn ddoe yn fawr. Y mae un pregethwr perthynol i'r Annibynwyr wedi addaw cymmeryd ei fedyddio. Gan nad oes genyf ammheuaeth am eu cywirdeb, mentraf ddweyd, y bedyddir llawer yma. Dywedais wrthynt mewn atebiad i rai gofyniadau, bod ein heglwys ni yn rhagori ar bob un arall, nid yn unig yn yr amrywiol ddoniau ysbrydol, ond hefyd yn yr effeithiau a achosir ganddynt, megys dynion duwiol, undeb, cariad, a gwneyd daioni gyda haelioni, fy mod wedi gweled mwy o gariad brawdol yn yr eglwys hon, yn ystod chwe mis, nac yn y ddwy flynedd ar bymtheg a berthynais i'r Annibynwyr, a bod yr ychydig ddiffygiadau a welais mewn unrhyw o'r brodyr, ddim ond megys cysgod darlun enwog, yn dangos y llun gyda chynnorthwy mwy hy.

Myned yn mlaen y mae daioni grâs; Ysbryd Duw sydd rymus ar yr ychydig Saint; ymddenys i mi mai dyn da yw John Parry

mawr y cariad sydd rhwng y brodyr; a boddhaol hynod genyf finnau ydyw fy mod yn cael cystadl cyfleusdra i wneyd daioni i'm cyd-greaduriaid. Bendith y nefoedd fawr a selio ei gwaith ynom, a thrwyddom ni. Dyweded wrth y Gogledd na attal dy law.

Mae y Saint oll yn eich hoffi yma, ac yn dywedyd pethau da am danoch. * * * *

Yr Arglwydd a barhao i'ch cysuro; y cynnydd mawr ar achos y gwaredwr a fyddo eich gwledd a'ch gorfoledd, a llwydded yr oll a wneloch er gogoniant i Dduw. I lawr a'r gelyn, i fyny a Christ, troedigaeth i bechaduriaid, llawenydd i Cadben Jones, calondid i'n pregethwyr, a mawl i'n Duw!

Eich ffyddlon,

ROBYN DDU, ERYRI.

---

## MYNEGIAD CYFRIFIADOL.

O EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF YN NGHYMRU, AM YR HANNER BLWYDDYN YN TERFYNU MEHEFIN 30, 1854.

LLYWYDD.

Dan Jones.

CYNGHORWYR.

Thomas Jeremy, Daniel Daniels.

| *Cynnadl.* | *Cang* | *A.* | *H* | *O* | *Ath.* | *Di.* | *Tor* | *Ma* | *Ym* | *Bed* | *Oll.* | *Llyw.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Morganwg Ddwyr. | 32 | 2 | 268 | 94 | 103 | 65 | 136 | 32 | 98 | 160 | 1887 | D. Jones |
| Sir Fynwy........ | 19 | 0 | 83 | 28 | 29 | 21 | 38 | 2 | 28 | 86 | 578 | T. D. Giles |
| Morganwg Orllew. | 18 | 0 | 62 | 35 | 22 | 14 | 35 | 1 | 24 | 38 | 462 | R. Evans |
| Llanelli.......... | 10 | 0 | 58 | 16 | 7 | 15 | 12 | 4 | 42 | 24 | 288 | D. E. Jones |
| Dean Penfro .... | 13 | 0 | 31 | 7 | 6 | 8 | 6 | 3 | 7 | 8 | 210 | John Price |
| Sir Gaerfyrddin .. | 6 | 1 | 24 | 12 | 6 | 5 | 4 | 1 | 13 | 7 | 157 | Thos. Jones |
| Sir Frycheiniog .. | 7 | 0 | 25 | 10 | 6 | 7 | 5 | 2 | 0 | 15 | 151 | T. Morgan |
| Sir Ddinbych .... | 5 | 0 | 17 | 6 | 6 | 2 | 0 | 1 | 6 | 13 | 125 | John Parry |
| Sir Fflint ........ | 5 | 0 | 19 | 5 | 5 | 2 | 5 | 0 | 6 | 8 | 115 | John Jones |
| Sir Aberteifi ...... | 5 | 0 | 15 | 5 | 3 | 2 | 1 | 2 | 10 | 11 | 113 | J. Evans |
| Dyffryn Conwy .. | 5 | 0 | 19 | 11 | 4 | 4 | 2 | 2 | 0 | 6 | 99 | R. Roberts |
| Sir Feirionydd.... | 6 | 0 | 17 | 8 | 2 | 1 | 0 | 0 | 0 | 2 | 76 | J. Davies |
| Gogledd Penfro .. | 4 | 0 | 14 | 5 | 2 | 2 | 4 | 0 | 2 | 0 | 57 | David Rees |
| Cyfanswm.... | 135 | 3 | 652 | 242 | 201 | 148 | 248 | 50 | 236 | 378 | 4318 | |

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

MAE Cangen o Eglwys Iesu Grist, cynnwysedig o amryw Henuriaid, a phedwar o Offeiriaid, wedi cael ei sefydlu yn ddiweddar yn Scutari yn Twrci, canol maes y rhyfel presennol,

ar unig addoldy y gallai y brodyr ymgasglu iddo oedd un o Fonwentydd y Twrciaid! Mor bêr yr adleisiai iaith angylaidd a'r doniau ysbrydol, yngherrig beddau y Twrciaid Mahometanaidd! Cyfenwasant hi "Cangen y Gatrawd rhyfelgyrch." Cyffroisant cryn ymchwiliad i'r grefydd, a gobeithient fedyddio yn fuan. Duw y gwaith o'u plaid a fo ac a lwyddo eu hymdrechiadau.

---

DYLEDION AM LYFRAU ODDIWRTH Y CYNNADLEDDAU A'R CANGENAU, AM Y CHWARTER YN TERFYNU MEHEFIN 30, 1854.

*Cynnadleddau*—Sir Fynwy, £46 9s 11¾c; Sir Frycheiniog, £2 19s 11; Gorllewin Morganwg, £107 6s 9¼c; Llanelli, £33 0s 6c; Caerfyrddin, £12 16s 2¼c; Sir Aberteifi, £13 15s 11c¾; Sir Feirionydd, £10 12s 9¼c; Sir Ddinbych, £20 5s 2¾c; Gogledd Penfro, £4 13s 3¾c; Sir Fôn, £12 18s 9¾; Sir Fflint, £21 3s 6¼c; Dyffryn Conwy, £10 14s 3¾c; Cangen Cymraeg Lerpwl, £1 19s 4¼c; Swyddfa Lerpwl, £1 2s 11¼c; *Cangenau Dwyr. Morganwg*, Pendeulwyn, 12s 8¾c; Twynyrodyn, 17s 0c; Eglwys Newydd, £2 1s 1¼c; Pontfaen, £1 17s 0¾c; Caerdydd, £8 8s 10; Dinas, 16s 5; Pontypridd, £2 8s 10c; Llanelltid, 12s 9¼c; Llanfabon, £1 2s 10; Aberdâr, £16 3s 2c; Aberammon, £7 12s 1½c; Cap Coch, £2 8s 11c; Dowlais, £9 6s 4c; Hirwain, £2 0s 0½c; Cwmnedd, £2 2s 8½c; Rymni (Cymraeg), £1 18s 4½c; Georgetown, £2 2s 5¾c; Merthyr, 10 11s 3c; Pendaran, £7 7s 0c; Cefn, £5 13s 10½c; Gwernllwyn, £2 5c 11½c; Ffynon Tydfil, £6 12s 3½c; Troedyrhiw, £2 6s 10c; Cwmbach, £8 19s 7c; Twyn Carno, £1 6s 1½c; Trefforest, 6s 9c; Ynysgau, £1 7s 6¾c; Llandaff, £1 14s 6¾c; Cog, 13s 7½c; Rymni (Saes.), 12s 11c; Gellyfaelog, £2 2s 2c; Aberdâr (Saes.), £1 13 5c; Personau, £2 3s 5¾c.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MEH. 21 HYD 30.—Sir Fflint, £2 0s 0c; Gogledd Penfro, 9s oc; *Cangenau Dwyr. Morganwg*, Pendenlwyn, 6s 0c; Caerdydd, £1 10s 0s; Dinas, 3s 0c; Pontypridd, 10s 6c; Aberamman, 5s 0c; Rymni, 18s 9½c; Georgetown, 4s 4c; Merthyr £1 0s 4c; Cefn, 18s 6c; Gwernllwyn, 12s 0c; Troedyrhiw, 8s 1c; Cwmbach, 12s 11c.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

// UDGORN SEION,

NEU

**Seren y Saint.**

RHIF. 26.] GORPHENAF 15, 1854. [CYF. VII.

# UNFED EPISTOL CYFFREDINOL AR DDEG PRIF LYWYDDIAETH EGLWYS IESU GRIST, SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

*At y Saint yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd, ac at y rhai sydd ar wasgar drwy y ddaear.*

[Parhad o dud. 394.]

EISTEDDODD y Senedd Diriogaethol yn Nhaleith-dŷ y ddinas hon, ar y 12fed o Ragfyr; ac wedi treilio y cyfnod arferol, gwneuthur cyfreithiau perthynol i wahanol amgylchiadau, a mabwysiadu amryw ddeisebau a fwriedid anfon i'r Prif Senedd-dŷ, ymadawsant, wedi cwblhau yr oll a ddygwyd ger eu bron.

Yn mhlith y cyfreithiau pwysicaf a wnaethant, ceid y "Gyfraith a hyffordda o barthed i dir porfa a bugeiliaid," a'r gyfraith a awdurdodai i wneuthur camlas o arllwysiad Llyn Utah hyd i'r Llyn Halen Mawr, yr hyn bellder sydd tua 40 o filldiroedd, a'r hwn wedi cael ei gwblhau, a ddyfrha amryw filoedd o erwau o dir da, yr hwn a fuasai braidd yn ddiddefnydd heb hyny.

Anfonodd y Llywodraeth ddeiseb i'r Senedd hefyd, am gael cledrffordd wladwriaethol yn groes i'r cyfandir: ar yr 21ain o Ionawr, cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus yn y Tabarnacl; ymgasglodd lliaws, yn frwdfrydig a phenderfynol; cymmeradwywyd deiseb y llywodraeth, ynghyd ag amrywiol benderfyniadau ac erthyglau arddangosiadol o'u teimladau mewn cysylltiad â'r pwnc dyddorol hwnw.

Mae y gyfraith berthynol i fugeilio yn bwysicach i ni fel

pobl, o herwydd fod cyfoeth naturiol ein gwlad, yr hyn sydd yn gynnwysedig mewn porfäu, yn gymhelliadol i ymroadau mawrion i fagu anifeiliaid. Lleinw hyn ein dyffrynoedd â minteoedd ac â diadellau, y rhai wrth grwydro yn rhy fynych, heb ofal drostynt, ydynt yn agored i fyned ar goll, ac i gael eu lladrata gan Indiaid neu ladron gwynion; ac o ganlyniad, byddant, nid yn unig yn golledig i'w perchenogion, eithr hefyd, ffurfiant demtasiwnau i'r brodorion, y rhai ydynt yn hollol anwybodus, heb wybod gwell na chyflawni drwg-weithredoedd. Er ys oesoedd a chanrifoedd credasant hwy, a dysgasant i'w plant, mai bod yn llwyddiannus i yspeilio, lladrata, ac i ryfela yw y llwybr i ogoniant, a'r ffordd i enwogrwydd ac i allu. Pa fodd y gallwn ddysgwyl iddynt ymattal, pan y caffant gyfleusdra, rhag cymmeryd ein hanifeiliaid? Ymddygwn yn ddoeth, a gofalwn am ein hanifeiliaid a'n heiddo, ac na themtiwn hwynt i'w cymmeryd, drwy roddi iddynt gystal cyfleusterau, drwy beidio eu gwarchau na'u bugeilio. Canys yr ydym fel pe yn taflu temtasiwnau anorchfygol ar eu ffordd.

Ar y 9fed o Hydref, llosgodd yr Indiaid chwech o dai ar yr Aber Uchel; ar y 23ain cyrhaeddodd y newydd o eu bod wedi llosgi melin lifio gerllaw i Manti; ac ar y 6fed o Ionawr llosgwyd i'r llawr y lle a elwid sefydliad Allred, yr hwn a adewsid yn annhrigiannol.

Lladratawyd tua 80 o anifeiliaid o'r Spanish Fork ar y 26ain a Chwefror, ac o sefydliadau Springville.

Dyma y difrodiadau diweddaraf a glywsom am danynt. A dywedwn yn awr, mai esgeulusdod, anufydd-dod i orchymynion, diofalwch, neu ddifaterwch i'r cynghorion a roddwyd o bryd bwy gilydd, a achosodd bob difrodaeth Indiaidd yn ddieithriad. Frodyr, pa bryd y byddwch ddoeth, ac y rhodiwch lwybrau doethineb? A raid yn gyntaf eich dinystrio yn debyg i'r Nephiaid, neu ynte, a wrandewch ar gynghor mewn pryd i achub eich hunain a'ch teuluoedd, eich mintêoedd a'ch diadellau rhag dinystr?

O herwydd derbyn yr hysbysiad fod yr Indiad, Walker, yn teimlo yn bleidgar ac yn dymuno heddychu â ni, aeth yr Uch Gadben Bedell, Dirprwywr Tiriogaethol dros yr Indiaid, a'r Cyfieithwr Huntington, tua Fillmore, y fan a nodwyd ganddo ef a'i dylwyth i'w cyfarfod, ac a wnaethant gyfammod o hedd

â hwynt. Eithr na sïed hyny neb i gysgu mewn gau ddiogelwch, o'r hwn eu deffroir gan ryfel-ysgrech yr anwariaid.

Deallasom hefyd ddarfod i ryw Indiaid cyfeillgar o Pet-teetnete, lwyddo i adferyd yn ol 25 o benau o'r anifeiliaid a ladratesid o'r Spanish Fork ar yr 28ain o Chwefror; lladdesid y lleill.

Dyledus yw dweyd y cyflawnwyd llawer, mewn gair, braidd yr oll o'r ddifrodaeth hyn yn absennoldeb Walker ac Arrowpine, heb eu cenad, ac yn ddiarwybod iddynt. Hysbys fod ei deimladau ef yn rhyfelgar, eithr yr oedd llawer o'i wyr yn fwy felly, ac anmhosibl oedd iddo eu rhwystro yn hwy.

Nid Walker na'i wyr a laddasant y Cadfridog Gunnison a'i osgordd, eithr tylwyth arall o'r Utahs, a elwir y Pahvantes, â'r rhai nid oedd ganddynt gyfrinach y pryd hwnw, ac nid oeddynt wedi bod yn gyfeillgar â hwynt cyn hyny, er eu bod ar yr un amser ag y dygwyddodd y galanastra alaethus hwnw, yn ymgasglu ynghyd yn barotoadol i ymosodiad ar sefydliad Fillmore, mewn dialedd arnynt hwy, o herwydd i orymdaith o ymfudwyr a aethant drwy eu gwlad ychydig ddyddiau cyn hyny ar eu ffordd tua Chalifornia, ladd un o'u gwyr hwynt.

Bu yr Henuriad George A. Smith yn bur ymrous yn ystod y ddifrodaeth Indiaidd ddiweddar; ac i'w ddylanwad a'i ymdrechiadau diflino ef y cyfrifir y cyflawniad amserol a grymus o'r mesurau hyny a osodasant y sefydliadau mor fuan mewn diogelwch, mewn cyffelybiaeth. Yn awr, gobeithiwn yn ddiffuant, ac ymddiriedwn yr ennillant drwy wersi y tymhor mynedol, ac nad ymadawant etto, oddiwrth y cyfarwyddiadau ag y dysgodd eu profiadau iddynt mor eglur, eu bod yn gyflawn o ddoethineb, a'u bod er eu hamddiffyniad a'u diogelwch.

Cawsom gnydau da o ŷd ac o lysiau yn gyffredinol, ac fe'u diogelwyd yn weddol; a'r dybiaeth yw, er lliosoced yw yr ymfudiad yma, y bydd genym, gyda chynnildeb, ddigonedd i barhau i'n diwallu hyd y cynhauaf dyfodol. Mae yn wirionedd hunaneglur y dylid cynnyrchu mwy o lafur. Mae y dylifiad cysson o bobloedd yma o bob cwr,--galwadau y llwythau Indiaidd am fara; a'r sicrwydd braidd, a ymddengys o ddyfodiad miloedd i'n cyffiniau, yn ein cymhell i ddarparu gogyfer â'r dyfodol. Ymborth i ddyn ac i anifail yw y galwad; ymborth i filiynau dirif, y rhai a ymarllwysant arnom cyn hir, fel colom-

enod i'w ffenestri; ymborth i fyd newynog, yn ysbrydol ac yn dymhorol, ydyw y gofyniadau y gallwn ddysgwyl gorfod eu cyflawni.

Yna ymbarotown, llanwch eich meddyliau â gwybodaeth ac â doethineb, a'ch ysguboriau ag ŷd: magwch a gwarchaewch eich anifeiliaid; cynnyrchwch eich gwlan a'ch llin eich hunain; gwnewch eich lledr; gwnewch eich dillad eich hunain, eich sebon, eich canwyllau, olew, siwgr, triegl, glue, cribau, gwrych-ryglau, gwydr, haiarn, ynghyd a phob peth arall o fewn ein cyrhaedd, ac arbedwch eich arian. Wrth wneuthur fel hyn y rhwystrwch ddyhysbyddiad y mettel drudfawr o'n plith, ac eich galluogir i wneuthur mwy er lledaeniad yr efengyl, casgl-iad Israel, adeiladu Seion, ac i adeiladu Teml i Dduw Jacob.

Frodyr, talwch eich degwm; a thalwch hefyd mewn rhyw ffordd ag y gall fod o ryw ddefnydd; ac y bydd yn gynnorth-wyol i hwyluso yn y blaen waith y dyddiau diweddaf. Wrth y rhai a feddyliant gael cyfrifiad ar y llyfrau, pa un a wnant werth hyny ai peidio; wrth y rhai a segurant eu hamser er mwyn cael eu talu, heb unrhyw ofal dros y gwaith; neu yn geintachaidd a gylafara a'i enaid cybyddlyd ei hun, ai gwell iddo dalu rhywfaint ai nad e,—wrth yr oll o'r cyfryw, dywed-wn eich bod yn camsynied os dysgwyliwch y bydd y fath off-rymau yn gymmeradwy yn ngolwg Duw; cystal, ïe, llawer gwell fyddai i chwi gadw ymaith, nag amlygu y fath ysbryd hanner calonog a hunanol. Mae yn rhy debyg i arferiadau rhagrithiol yr oes, i gael llawer o gyfrifiad am wneyd dim. Frodyr, ein cynghor i chwi ydyw, talwch eich degwm, talwch eich dyledion i'r Gymdeithas Ymfudol Barhaus, a gwnewch eich cyssegriadau mewn ysbryd haelionus ac â chalon ewyll-ysgar.

Esgobion, y mae genym air o gynghor i chwithau. Chwy-chwi ydych dadau y tlodion, a goruchwylwyr ydych yn Israel. Rhoddwch eich cymhorth egnïol i gasglu degwm a chyssegriad-au y Saint; a gwelwch fod gofal dros yr oll, a'i fod yn cael ei ddiogel gyflwyno i ystordai yr Arglwydd, ac na fyddo yn cael ei gamddefnyddio yn groes i'r dybenion cyfreithlawn o hono. Gosod teulu neu berson mewn sefyllfa ag y gallant ofalu dros-tynt eu hunain a arddengys wir gariad. Ni raid fod neb yn y wlad hon, a fedd gynnefinol iechyd a nerth, heb allu ennill cyn-

naliaeth iddo ei hun a'i deulu. Eithr dygwyd i fyny lawer o'n brodyr yn yr ymarferiad â rhyw gelfyddyd neillduol yn yr hen wlad, ac ni feddant y gallu na'r cywreinrwydd i droi eu llaw at unrhyw beth, yr hyn a ffurfia nodwedd gref yn nghymmeriad yr Americaniaid. O ganlyniad, dyledus ydym o'u hyfforddi yn y modd goreu i fyw. Yn gyffredinol y maent yn ddinasyddion da, o dueddiadau gweithgar, a chydag ychydig gyfarwyddiadau deuant yn fuan yn alluog i gynnal eu hunain. Erfyniwn ar yr Esgobion roddi iddynt y gwaith a allant ei wneuthur, a bod yn amyneddgar yn eu haddysgu, ac felly deallir cyn hir na pharhant i fod yn faich ar y Trysorfau cyffredinol. Mynych y tiriant yma heb na bwyd na moddion o un math, ac anghenrheidiol iddynt gael cynnaliaeth am ysbaid; eithr os ymddygir yn unol â'r cyfarwyddiadau blaenorol, buan y gallant, nid yn unig gynnal eu hunain, ond hefyd dalu yn ol yr hyn gynnorthwy a gawsent.

Na ddyoddefed y tlodion gonest anghen, eithr cyfraner iddynt mewn doethineb. Felly yr ad-dala yr Arglwydd i chwithau, ac nid esgyn gwaedd y tlawd i glustiau yr Arglwydd Dduw yn dystiolaeth i'n herbyn.

Mae amryw filoedd o ddolars yn ddyledus yn awr i'r Gymdeithas Ymfudol Barhaus, oddiwrth y rhai a dderbyniasant gynnorthwy gan y Gymdeithas i Ymfudo i'r wlad hon. Pan yr Ystyriom y daioni mawr a wneir yn flynyddol drwy offerynoliaeth y Drysorfa hon, teimlwn y fod yn ddyledus ar yr holl Saint gynnorthwyo, a chyfranu o'u heiddo er cyflawni ymfudiad y Saint tlodion yma o blith y gwahanol genedloedd, lle y mae teyrnasiad gwaedlyd gormes, lle y mae newyn yn bygythio, a thywyllwch dudew a drygioni yn llanw meddyliau y bobloedd, gan eu cadwyno mewn rheffynau rhagfarn ac anwybodaeth.

Pan yr arllwysa Duw yr holl ddaear ei farnedigaethau ar y byd drygionus, yn gyflawnol o Ei air a lefarodd drwy eneuau ei Brophwydi yn yr oes bresennol, ac yn yr oesau mynedol, drwy heintiau, newynau, tymhestloedd, a'r flam angerddol, dynion a chenedloedd, yn feddw gan eu cynddaredd eu hunain, ydynt fel pe ar frys i brysuro tuag at eu diweddiad. Yn anochelgar dyfethant eu gilydd yn eu digofaint, ar yr afonydd, y cledrffyrdd, ar y llynoedd llydain, ac ar y moroedd mawrion, ymruthrant i'w dystryw eu hunain. Cenedl a gyfyd yn erbyn

cenedl; anghydfod cartrefol a genedla gynen, a'r rhyfel gerwinol ynghyd a'i ganlyniadau echryslon, a ddyry ei gynnorthwy andwyol i ddiboblogi y ddaear.

Fel hyn, yn mhlith pechadurusrwydd a rhyfel, heintiau a newyn, terfysgoedd cenedloedd, yn y ddaear ynghyd ag yn yr elfenau oddiamgylch y ddaear, cyfarchir efengyl yr iachawdwriaeth, gan bob meddwl gonest a deallus, fel testun o lawenydd, ac nid cynt ei derbynir nag y crea ddymuniad taer am waredigaeth allan o Babilon, fel yr elont trwy y diheur-brawf, ac y diangant gyda yr holl Saint yn Seion, rhag y ffiangell a'r ddarfodedigaeth a benodwyd gan Dduw i wneuthur y ddaear yn wag, lle y gorphwysant hyd onid elo Ei ddigofaint tanllyd heibio.

Yna prysurwch, chwychwi Henuriaid, i gyflawni y gwaith o'ch blaen ; ac ymbarotoed y Saint â'u holl nerth, gogyfer a dyfodiad dydd mawr Ei nerth a difrodaeth, yr hwn yn ddiau a ddaw ar yr holl ddaear, canys yn y dydd yr ymddengys Mab y Dyn, yr Hen-ddihenydd hefyd a eistedd mewn barn, a gofynir i bob un roddi cyfrif gwirioneddol a ffyddlon o'i oruchwyliaeth.

Ymostyngwch, O chwychwi Saint y Goruchaf! canys y mae y dydd yn agosâu! Darfydded eich ymbleidiau, anghydfod, cenfigen, a'ch drygioni o'ch plith; a thrigwch ynghyd mewn undeb a hedd. Ymroddwch eich calonau i Dduw, a'ch nerth, eich meddwl, a'ch holl alluoedd er cyflawni ei fwriadau yn y dyddiau diweddaf. Na adewch i unpeth eich gwyro oddiar lwybr eich dyledswydd. Ymddeffrowch i iawn ystyriaeth o bwysigrwydd eich galwedigaeth, a'r gwaith sydd i chwi i'w gyflawni. Ysgydwch o'r syrthni sydd yn eich amgylchynu fel cochl; ac ymddysglaeried eich gweithredoedd a'ch ffydd fel dysglaerdeb gogoniant haul canol ddydd i bawb oddiamgylch i chwi. Bydded gwaith yr Arglwydd beunydd yn eich meddyliau, ynghyd ag iachawdwriaeth Israel, gwaredigaeth y tlawd o grafangau y gorthrymwr, ac odditan wialen y gormeswr.

Ac wrth y tlawd dywedwn, byddwch ymrous a ffyddlon; ac mor gynted ag y caffoch foddion hebgorol yn eich dwylaw, talwch yn ol yr hyn a'ch cynnorthwyodd i ddyfod i'r wlad hon; cofiwch am y rhai sydd dan y cyffelyb amgylchiadau ag oedd-

ech chwithau, ac a ddysgwyliant yn hiraethog am gymhorth o'r un fan ag y cawsoch chwithau.

Ein dyben yn casglu y Saint i'r dyffrynoedd heddychol hyn ydyw fel y mwynhaom freintiau ac iawnderau y Freintlen, a omeddwyd i ni mewn manau ereill; fel y caffom y fraint o addoli Duw yn ol cymhelliadau ein cydwybodau ein hunain. Ymgasglwn fel y mwynhaom, nid yn unig iawnderau dinasyddion, eithr fel y gallom fyw yn heddychol a mwynhau y sirioldeb a'r parch a wrthodir i ni yn un man arall. Ymgasglwch fel yr ufyddhaom i ordinhadau ac y cadwom orchymynion Duw, ac yr ymgorffolwn ein holl alluoedd i gario yn mlaen mawr ein Duw yn y ddaear, sefydlu Ei deyrnas, adeiladu temlau, ac i barotoi ffordd dyfodiad Mab y Dyn. A phan yr ymgasgla y rhai a broffesant fod yn Saint, yma gyda ni, dysgwyliwn yn rhesymol y dylanwadir arnynt gan y cyffelyb ddybenion.

Nid ymgasglwn yma i'r dyben o ymwasgaru oddiamgylch, a myned i'r mŵn-gloddiau, nac i un man arall, eithr er adeiladu teyrnas Dduw. Ac er na ddymunem niwed i'r rhai a ymgasglant o dan ddybenion gwahanol, etto, nid allwn eu hystyried yn deilwng o aelodaeth. Nid oes i ni gyfeillach â neb a gofleidiant y gwaith hwn oddiar unrhyw ddybenion, ond o gariad at y gwirionedd, ac at dystiolaeth yr Iesu; y rhai nid ydynt yn foddlon i ddyoddef pob peth, i adael pob peth, ac i aberthu pob peth er mwyn efengyl Crist.

Dyledswydd y cyfoethogion yw cynnorthwyo y tlodlon anghenog drwy weinyddu i'w hanghenrheidiau, ac i gyfranu o'u heiddo er casglu Israel, lledaeniad yr efengyl, ac er adeiladu y Deyrnas.

Ar y llaw arall dylai y tlodion fawrygu y bendithion a gyflwynir iddynt, a bod yn awyddus i ad-dalu cymmwynasgarwch, drwy weithio yn ffyddlon mor gyflym ag y gallant. Mae yn ofidus fod gormod o'r rhai a gynnorthwywyd gan gyfoethogion, mor gynted ag y sefydlant yn y wlad, a bod llawnder a heddwch yn gwenu arnynt, yn anghofio y llaw a ddygodd iddynt iachawdwriaeth a gwaredigaeth. Un o'r prif achosion o hyny yw anewyllysgarwch y cyfoethogion i gyfranu o'u meddiannau. Mae angharedigrwydd yn drosedd a wreiddia yn ddwfn yn nghalonau y rhai a'i hymarferant. Bod dyn yn troi a'ch rhwygo, ar ol i chwi wneuthur iddo garedigrwydd, a duedda i gau

fynu ymysgaroedd tosturi, ac i rwystro ereill rhag gwneyd y caredigrwydd a'r haelfrydedigrwydd a fuasai pe amgen, yn bleser ac yn llawenydd ganddynt eu gwneuthur.

Am hyny, rhybuddiwn y Saint tlodion a gynnorthwywyd i ddyfod i'r wlad hon o'r hen wlad, na phallont i ad-dalu, a chofio caredigrwydd y rhai a'u cynnorthwyasant, fel na ymddifader ereill a chwennychant waredigaeth, o'r bendithion a fwynhewch, drwy eich hunanoldeb a choffawdwriaeth o angharedigrwydd.

Mae yr Henuriaid yn Ynysoedd Sandwich yn chwilio allan ymgasgl-fan i Saint Ynysoedd y Môr Tawel, i'r lle y gallant ymgasglu am yr amser presennol er eu diogelwch rhag y dylanwadau niweidiol a effeithir arnynt i raddau, drwy ymgyfeillachu â'r bobl wynion, yr hyn yw rhag-arweinydd gwareiddiwch i arwain brodorion ein gwlad, a'r llwythau Indiaidd yn gyffredinol i'r anlladrwydd gwarthus a'r meddwdod sydd yn raddol yn eu dirywio, ac yn y diwedd a derfyna yn angeuol, yn hollol ddifodiad y llwythau brodorol. I'r dyben o attal, hyd y gellir, y fath ganlyniadau dinystriol, ystyrir mai doeth a fyddai eu casglu ar ryw ynys lle y gellir eu dysgu yn egwyddorion diweirdeb, ac mewn arferiadau moesol, a pharotoi eu meddyliau i dderbyn goleuni a gwybodaeth ddeilliedig oddiwrth Dduw, eu dyrchafiad a'u gogoneddiad. Gellir dwyn rhai i San Bernardino, y rhai wedi iddynt ddysgu celfyddydau a gwareiddiwch, a allant fod o fawr les i gario gwirionedd, iachawdwriaeth a'i bendithion cysylltiadol, i'w gwahanol lwythau. Os cydwedda yr hinsawdd â'u hiechyd, gellir cynnyddu eu hymfudiad, a bod eu sefydliadau ar yr ynys ond arosfan orphwysol, gyffelyb i fanau ereill a fwriadwn sefydlu mewn gwahanol fanau ar y cyfandir.

Cynghorwn Saint Ewrop i ymgasglu i'r Unol Daleithiau yn ol cyfarwyddyd y Llywyddiaeth Brydeinig, i'r manau hyny a benodir i ymgasglu iddynt, a lle y gallant aros hyd oni agoro y ffordd iddynt ddyfod i Ddyffrynoedd y Mynyddoedd.

Dysgwylir y gwneir cledrffordd yn mhen ychydig flynyddau, o Missouri i'r wlad hon ; pryd hyny bydd yn fanteisiol iawn i'r Saint a ddeuant o'r hen wlad, eu bod wedi croesi y môr, ac ymsefydlu yn y manau a nodir, lle y bydd yn hawdd cae gwaith a chyflogau da ; ac wedi y cwblheir y gledrffordd, gal

y Saint ymgasglu ar lawer llai o gost ac anhawsderau. Hyfforddia gyfleusdra uniongyrchol i filoedd o'r Saint ymfudo o'r hen wlad, ac i ymgasglu i'r lle y gallant gael dysgeidiaeth a mwynhau y fraint o Gymdeithas a'u gilydd.

Cynghorir y Saint sydd yn Awstralia, India, ac yn yr holl wledydd cyfunol i'r Môr Tawel, i ymfudo i Galifornia, a chyfarwyddir hwy gan y Llywyddiaeth Eglwysig yn y wlad hono yn eu hymsymmudiadau dilynol.

Dymunwn hefyd ar y Saint a ddeuant o'r Unol Daleithiau ac o Ewrop i Ddyffrynoedd y Mynyddoedd, ddwyn pob amrywiaeth o hadau gyda hwynt, yn enwedig afalau, eirynen, breyllen, gellyg, eiryn, ceirios, rhyfion, quince, eiryn mai, mefus, ynghyd a phob amrywiaeth o hadau blodeu; hefyd hadau *teasle* a gwreiddrudd, indigo, a hadau ereill y defnyddir eu coed i liwio, cyn belled y tyfant yn yr hinsawdd hon; hefyd amryw fathau o wair, clover, a hadau cottwm o'n sefydliadau deheuol.

(*I'w barhau.*)

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, GORPHENAF 15, 1854.

EPISTOL CYFFREDINOL Y BRIF LYWYDDIAETH—Yw prif gynnwysiad ein presennol rifyn, yr hyn a'i gwna o hyny gwell na dim a allwn ni ddweyd, i chwaeth ein holl ddarllenwyr a archwaethant ddirgeledigaethau gwlad eu serch—"dinas eu cyfarfod," lle y dysgwyliant fythol gyd fyw mewn gorlawnder a thragywyddol hedd. Mor hunan-eglur yr ymddengys i bob meddwl treiddgar, yr anghenrheidrwydd o hollol gydgordiad meddyliau, bwriadau, a holl ddirgelion calonau preswylwyr dedwyddol y nefol fro, er i bob un gyd-gyfranogi o'i danteithion dinam, heb unrhyw eiddigedd, na gormes, na châs! Mor amlwg â hyny yr ymddengys dyledswydd y "plant sydd etto dan eu hoed yn dysgwyl am eu 'stâd," i ymgorffoli eu trysorau

yn awr, i'r deyrnas lle y dysgwyliant fwynhau eu hystadau perffaith, ac felly i greu yr undeb calon sydd mor ddewisol, drwy ymgorfforliad o'u hunain a'r oll a feddant, er adeiladu teyrnas eu Tad. Tebyg i fympwyau y penboethiaid a ddysgwyliant fod marwolaeth yn puro ac yn addasu yr ysbryd ar eiliad i fyned i bresennoldeb tanbeidiol y Tad tragywyddol, yw yr hyder a fabwysiada rhai, o hyd y nod, efallai yn Saint, o gyrhaedd yr hollol undeb sydd anghenrheidiol er bod yn *un*, fel y mae y Tad yn y Mab a'r Mab yn y Tad, pan gyrhaeddir y "trigfanau tragywyddol," heb iddynt allu yn gyntaf feddu yr undeb gofynol o barthed i'r pethau sydd yn eu dwylaw yn awr. Y neb a ystyria y gall foddloni i'r undeb trwyadl hwnw y pryd hyny, yn *mhob peth* a ofyna ein Tad genym, ac ni allant gyd-synied ynghylch y pethau llai pwysig presennol a welant, a siomir; canys ni fyddant foddlonach i'r gyfundeb nefol, yn cynnwys yr *oll o bob peth*, nag ydynt i'r gyfundeb ddaearol a gynnwysa yr ychydig bethau darfodedig y gwnaeth eu Tad hwy yn oruchwylwyr arnynt.

Cyffelyb i gyfaill a guddiai ei gôd o tan garreg, rhag ein hofn, cyn meiddio dyfod i'n tŷ, yw y dyn a anturia ei hunan yn nheyrnas Dduw, eithr a ystyria ei drysor yn ddiogelach yn y byd anonest presennol; a chan fod y galon lle cuddiwyd y trysor, ni all fod y cyfryw ddyn ond rhagrithio ei fod ef yn Nheyrnas Dduw tra y mae ei galon allan o honi; a pha leshâd ddysgwylia y fath un gael yn y byd hwn na'r hwn a ddaw? Ni welir neb yn mhlith y teulu nefol, ond yr hwn a offrymodd ei hunan yn drwyadl, gorff ac ysbryd, a'r oll a feddai i Dduw, ac ymddiried y ddau i ofal Eglwys Dduw; a gomedd yr olaf yw ystyried yr olaf yn werth mwy na'r ddau flaenaf; yr hyn a brofai mai yn yr eiddo y mae y galon, er fod y broffes i'r gwrthwyneb. Eithr profodd yr Arglwydd yn ei ymddygiad at Ananias a Saphira na watworir mo hono gan y rhai a dderbyniasant oleuni nefol i'r graddau hyny.

I'r rhai y dichon eu chwydd-ddrychau arddangos iddynt yr aberth yn ormod i'w wneyd, rhoddwn gynghor ysgrythyrol, sy yn taro i'r amgylchiad, er ei fod yn Saesneg, sef "*Fret not thy gizard*," a chewch oleuni yn yr ysgrythyrau ol a blaen i hyny. Nid gorfodiaeth, ond ewyllys rydd yw y gyfraith hon etto sylwer; mae ystyr y gair *cyssegriad* a'r gair *gorfodiaeth* yn hollol

groes i'w gilydd,—dewiser a fyner, ynte, eithr na wrthwyneber yr egwyddor i ereill, onite bydd hyny yn wrthryfel annyoddefol yn Eglwys Dduw. "Caffed amynedd ei pherffaith waith," meddwn ninnau, fel y dywedai hen frawd o'n blaen; canys, y mae y nefoedd yn llawn o ddirgeledigaethau etto, a dihidlant i waered o un i un, i blant Duw, nes eu dysgir yn holl drefniadau y teulu nefol. A'u gwrthodant a fforffetiant aelodiaeth yn y teulu hwnw. Cofiwn hyn—cofiwn fod yr oll sydd yn werth ei gael, yn ymddibynu ar *fyw ar bob gair* A DDAW allan o enau yr Arglwydd, ac nid ar yr hyn a *ddaeth* yn unig! Y doeth a'i gwel ac a'i gwna, tra, y cybydd, fel Judas, a gâr y gôd yn fwy nâ gair, ac nâ bywyd ei Arglwydd. *Bywyd tragywyddol* fyddo nôd Ei Saint ar gost pob peth.

Ceir y gweddill o'r Epistol yn ein nesaf.

Gellir cael y tablau i gasglu yn y dospartiadau yr wythnos nesaf, anfoned pob dosparthwr am yr hyn a ddymuna. Cymhellwn y cynllun hwn ar bob dosparth yn mhob man.

---

## YR UNFED EPISTOL CYFFREDINOL AR DDEG.

[Parhad o dud. 413.]

HYFFORDDWN yr Henuriaid a anfonwyd allan o Seion at wahanol genedloedd y byd, i roddi ein cynghorion mewn gweithrediad, dan arolygiaeth Llywyddiaeth eu gwahanol feusydd llafur; ac annogwn yr holl Henuriaid i fod yn ffyddlon yn eu galwedigaeth, ac i gadw eu hunain yn bur ac yn santaidd i'r Arglwydd eu Duw. Os palla iechyd rhai o honynt, maent at eu rhyddid i ddychwelyd adref heb aros am alwad. Braint a dyledswydd yr Henuriaid, tra ar led y byd, yw ymgynghori yn fynych yn eu hamrywiol feusydd llafur, ac ymdrechu gwybod meddwl yr Arglwydd, drwy ympryd a gweddi ger bron Duw, penderfynu ynghylch y cynlluniau, a chyflawni y dyledswyddau perthynol i lesiant achos y gwirionedd, megys yr amlygir iddynt, fel na fyddo i farweiddra ac arosiad rwystro y gwaith, wrth ymofyn cynghor genym ni, y rhai ydym mor bell oddiwrthynt.

Mewn materion o ddyddordeb, a ystyrir o bwysigrwydd neillduol, os na fydd i'r amser a gymmerir i gael atebiad, wrthweithio yn ormodol yn erbyn llwyddiant y gwaith, dymunem

iddynt ymgynghori â ni. Rhaid fod yn eglur i bawb, yr anghenrheidrwydd o ofalu am drefnusrwydd yn gyferbyniol i gynnydd y gwaith. Gan hyny, cynghorwn ein holl oruchwylwyr i fod yn brydlon a manwl yn eu Cyfrifon a'u Cyfraniadau i ni; ac hefyd i'n cadw yn hysbys o'r matterion pwysig a berthyn i'r achos yn y gwledydd y llafuriant ynddynt. Cyflwynasom, a bwriadwn gyflwyno yr hyfforddiadau hyny drwy y Wasg, o bryd i bryd, er cyfarwyddyd i'r Henuriaid a'r Goruchwylwyr, ar yr hyn bethau a ystyrir yn anghenrheidiol, a'r hyn ni allwn roi mewn Epistol Cyffredinol. Drwy ein profiad ein hunain, deallwn y teimla yr Henuriaid eu hunain, os byddant ffyddlon, yn hollol ymorphwysedig ar yr Arglwydd, nid am râs yn unig, eithr am foddion eu cynnaliaeth hefyd.

Mewn undeb y mae grym; eithr pa fodd y teimla dynion eu bod mewn undeb tra y mae eu meddiannau yn amrywiol? Pa fodd yr ymgyssylltant yn un mewn matterion ysbrydol, ac y gwelant lygad yn llygad, yr hyn ni allant eu ddeall ond mewn rhan, hyd oni ddeuant yn un mewn pethau tymhorol, yr hyn a ddeallant? Dadguddiwyd i Joseph Smith, yn nyddiau boreuol yr Eglwys, y dylai yr holl Saint gyssegru eu heiddo i'r Eglwys, a derbyn eu hetifeddiaethau trwy law yr Esgob Patridge, yr hwn oedd y pryd hwnw yn gweinyddu yn y swydd hono.

Yn mhen blynyddoedd wedi hyny, yr Arglwydd yn gweled fod y bobl wedi halogi eu hetifeddiaethau, ac na chyd-ymffurfient â'i orchymyn blaenorol, a gyfarwyddodd mewn Dadguddiad arall i'r brawd Joseph, y dylai y bobl gyssegru eu holl eiddo gweddilliol; yr hyn, mae yn debygol, na ddeallwyd yn drwyadl ac ni wnaed. Ar ol hyn rhoddwyd Cyfraith y Degwm, yr hyn a ofynai i bawb gyflwyno y ddegfed o'u meddiannau i'r Eglwys, ac o hyny allan eu bod i dalu y degfed o'u cynnydd yn flynyddol; dyben yr hyn oedd i'r tlodlion, ac er lledaenu yr efengyl yn mhlith cenedloedd y ddaear, cynnal y weinidogaeth, ac adeiladu Temlau i'r Goruchaf.

Dyna eglurhad byr o berthynas i feddiannau y rhai a ddeuant yn aelodau o Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf. Yr oedd llawer o rwystrau ar ffordd cario y gofyniadau hyn i weithrediad: yr oedd yr Eglwys yn ei babandod, a rhaid oedd iddi gyfarfod anwybodaeth, rhagfarn, a gwrthwynebrwydd byd

tywyll a drygionus. Nid oedd y brodyr eu hunain yn alluog i ddryllio eu traddodiadau: amryw brydiau, bu agos i wrthgiliad, ac erlidigaeth a goddiweddyd pobl Dduw, ac achosi iddynt gael eu gyru o fan i fan, nes iddynt o'r diwedd gael gorphwysfa yn mhlith dyffrynoedd y mynyddoedd hyn.

Yn ystod y Gymmanfa, rhoddwyd dysgeidiaeth ar y pwnc hwn, a'r athrawiaeth o undeb mewn pethau y gallai pawb eu deall, a chydgorffoli ein hamcanion mewn pethau y gallem weled llygad yn llygad o barthed iddynt, a ystyrid y cam cyntaf er dwyn yr undeb sydd mor ddymunol i'w gael; yr hyn a roddai i ni allu i ddarostwng drygioni, ac i yru pob drwg a dylanwad niweidiol o'n plith. Ymddangosodd yr egwyddor hon mor eglur i ddealltwriaeth y brodyr yn ei phlaender, ardderchogrwydd a'i symylrwydd. Dangosai y bobl awydd mawr i gydymffurfio â phob gorchymyn a gofyniad a roddwyd; ac ymddangosent fel pe yn teimlo nad oes yn arosol unrhyw rwystr digonol i gydymffurfiad cyflawn a diymwad â chyfraith y cyssegriad, megys ei rhoddwyd gyntaf i'r brawd Joseph.

Mae y diweddglo hyd yma yn profi eu diffuantrwydd yn y peth hwn; canys heidiant yn gannoedd ac yn filoedd i roddi eu henwau, gan gyssegru a chyflwyno pob peth a feddant i'r Eglwys, gan dderbyn eu hetifeddiaethau, a chymmaint o'u meddiannau ag sydd anghenrheidiol iddynt, o ddwylaw yr Esgob.

Chwefror 14eg, bu farw y Fam Smith, gwraig yr hen Batriarch John Smith, ac aeth i'w gorphwysfa yn mhlith y Saint ffyddlon. Hyhi yw mam y brawd George A. Smith, ac yr oedd yn un o'r rhai cyntaf i dderbyn cyflawnder yr efengyl dragywyddol.

*(I'w barhau.)*

---

## LLYTHYR Y LLYWYDD JEREMY.

*Llanelli, Mawrth* 22, 1854.

Anwyl Lywydd Jones,—Bum yn ymweled â'r Saint yn Nghaerfyrddin ac yn St. Clears, teimlant yno hefyd yn dda, a mynych yr holant pa bryd y daw y Captain ffordd hyn, ac felly yn mhob man; mae argoelion daionus am lwyddiant braidd yn mhob lle yr af, a da iawn genyf ddeall eich bod yn llwyddo ffordd

yna, a bod amryw ag oedd wedi gwrthgilio yn dyfod yn ol i'r gorlan etto.

Derbyniais lythyr caredig iawn oddiwrth y brawd Robert Parry, yn fy hysbysu am yr argoelion daionus sydd am lwyddiant ffordd yna, a mawr fel y mae yn eich canmol chwi a minnau yn ei lythyr, dyddiedig Mawrth 17, 1854, yr hwn a ysgrifenodd o Ferthyr. Yn Saesnig y mae wedi ei ysgrifenu fwyaf, cyfieithaf a ganlyn:—

"Anwyl Frawd Jeremy,—Aethym oddiyma dydd Sadwrn diweddaf, a phregethais yn Nghaerdyf drwy y dydd ar y Sul, a phrydnawn dydd Llun; nos Fawrth yn Nhreffforest, ac yn Llanilltyd prydnawn dydd Mercher, i gynnulleidfa fawr iawn, llawer o'r cyfryw a addawsant gymmeryd eu bedyddio, a dychwela y gwrthgilwyr braidd i gyd tuag adref, yn analluog, fel y mae yn rhaid eu bod i gael gwell lle. * * * *

Llawer o gysur yw i mi i wybod eich bod chwi y brawd Jeremy â'ch holl allu yn ymdrechu achub drwy yr efengyl, ac i ddiwygio y cyfryw ag sydd yn myned ar gyfeiliorn. O, bydded i'r Arglwydd eich bendithio chwi a'ch llafur o gariad, i iachawdwriaeth llaweroedd. * * * *

"Dywedaf i chwi *secret* fach,—Captain Jones sydd yn ddyn cydrywiol â fy nghalon i,—nid yn unig dyn *da*, ond ystyriaf ef yn un o'r dynion GOREU a gyfarfyddais erioed. Pe y buaswn yn ei ystyried ef yn annheilwng o'i barchu genyf, gallaswn ddiweddu y llinellau hyn heb gyfeirio at ei enw, yn fwy na dweyd ei fod yn anfon ei gofio atoch. Ond fel ag y dywedais i chwi ei fod yn un o'r *goreuon* a welais; nid yw yn anghenrheidiol i ddweyd fy mod yn ddidwyll yn fy ngosodiad,—gallaf dyngu a phrofi ei fod yn gyfryw, a chyda phleser, ymddiried, a chariad Cristion y gallaf roddi fy enw yn ysgrifenedig wrth y gosodiad hwn. * * * *

"Prydnhawn da i chwi y brawd mwyn, caredig, a thirion Jeremy." "ROBERT PARRY."

Da iawn genyf i fod y brawd Parry yn eich cael y fath ddyn; gallaf finnau ddywedyd fel Brenines y deheu, na fynegodd y brawd Parry yr hanner etto o'ch rhinweddau a'ch daioni, a welais innau ynoch am lawer o flynyddau tu yma a thu draw i'r Môr.

Terfynaf yn awr, gan ddymuno ar i'r Arglwydd eich bendithio

â llawer o'i Ysbryd Glân i gyflawni eich swydd bwysig, er gogoniant i'w enw a lles mawr i laweroedd.

Eich brawd, &c.,

THOMAS JEREMY.

---

[Na ddigied yr awdwr o herwydd hir oediad ei lythyr, gan iddo ryw fodd allu ymguddio o'n gwydd hyd yn ddiweddar, fel y mae pob peth a'n canmola ni yn fwyaf chwanog o wneyd, nag yw yr hyn a ddywedir yn dda am ein brodyr, etto, gweli hwyr na hwyrach efallai, i ddeall meddyliau ein gilydd am ein gilydd, a gwnawn a allom i deilyngu parhâd o'r gair da sydd well nag enaint gwerthfawr, ac os methwn, crefwn ddeall hyny yn GYNTAF UN O BAWB, canys hyn yw hawl eich—GOL.]

---

## LLYTHYR O SWYDD HAIARN.

*Dinas Cedrwydd, Tachwedd* 30, 1853.

ANWYL FRAWD EPHRAIM,—Yr ydym fel teulu yn cymmeryd y cyfleusdra hwn i ddanfon atoch, gan obeithio eich bod chwi a'ch teulu yn iach fel ag yr ydym ni oll yn bresennol, diolch i Dduw am hyny. Derbyniasom eich llythyr y ddoe, sef y 29ain o'r mis hwn, dyddiedig Medi 28, 1853. Yn atebiad i'ch cais yn eich llythyr am ddyfod i ffwrdd yn y spring nesaf, dywedaf nad posibl i chwi allu dyfod, o herwydd ei bod yn rhy ddiweddar yn y flwyddyn; ond yr ydym mor dyner galon nes yr ydym yn penderfynu eich cael i ffwrdd yn spring 1855, gan hyny parotowch eich hun erbyn y pryd hwnw.

Efallai y carech glywed ein hamgylchiadau,—y mae genym dŷ braf wedi ei adeiladu yn werth tua 3 neu 4 cant o ddolars, dwy fuwch, dwy iau o ychain, dau ful, un ceffyl, tair waggen, tri mochyn, a 23 o erwau o dir; dyna ein cyfoeth yn bresen-

Yr ydwyf fi Job wedi priodi merch o'r enw Mary Parry o Sir Ddinbych yn y Gogledd, ac y mae argoelion am gynnyddiad yn y teulu.

Y mae y wlad hon yn iachus iawn, nid oes fawr yn glaf, na nemawr yn marw. Y mae yma waith haiarn wedi ei ddechreu, a thair gwythien o lo wedi eu darganfod, un yn 8 troedfedd, yr ail yn 4 a hanner, a'r llall yn 3 troedfedd, a phob argoelion y gweithiant yn llwyddiannus. Y mae yma fynyddau o fwyn haiarn hefyd.

Cofiwch ni at Morgan a Margret a'r teulu, a charem yn fawr i glywed oddiwrthynt, a pha fodd y maent yn teimlo at y Saint yn awr, a ydynt yn ffafriol ai peidio. Cofiwch ni at y Saint yn Dowlais, a phawb o'n cydnabod. Yr oedd yn ddrwg genym glywed fod ein ewythr Richard wedi ei gladdu. Carem glywed ychydig oddiwrth ein perthynasau. Y mae Phebe Bowen merch Dafydd Evans gynt o Pont y Yates yn byw yma, ac yn anfon ei chofio atoch chwi a'r wraig. Carem glywed pa fodd y mae llwyddiant y Saint yn Dowlais a'r gymmydogaeth yna. Yr ydym ni ein tri yn annerch y Brawd Capt. D. Jones yn barchus.

Cymmaint a hyna yn bresennol oddiwrth eich hanwyl frodyr,

JOB, THOMAS, A BENJAMIN ROWLANDS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y RHYFELAWG FYD sydd yn ymeangu yn barhaus; fel gorlifiad eirias mynydd tanllyd, mae hylif rhyfel yn tagu y naill *grate*r er rhwygo arall gêg anferth i ddihysbyddu drwyddi gynnwysiad ei wenwynol grombil,—ffynnonell " afon angau" ydyw hon. Mae chwyldroad enbyd a bygythiol wedi cyffroi Ysbaen —tymestl mewn dysgl! Dywedir fod Ymerawdwr China wedi cynnyg rhanu ei deyrnas â Blaenor y gwrthryfelwyr,—fod y Rwsiaid yn encilio o warchaed Silistria, a 12,000 wedi colli.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MEH. 30 HYD GORPH. 13.—*Cangenau Dwyr. Morganwg*—Eglwys-newydd, 9s 6c; Pontfaen, 2s 2c; Dinas, 10s 5c; Llanilltyd, 7s 9½c; Llanfabon, 3s 6c; Pontypridd, 2s 6c; Aberdare, 6s; Cap Coch, 3s 9c; Hirwain, 16s; Rhymni, £1 10s 1c; Georgetown, 9s 2c; Cefn, 5s 11c, Ynysgau, 5s; Twyn Carno, 17s 11c; Cwmbach, 13s 1c; Cwmnedd, 13s 0½c; Aberamman, 7s.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street*, *Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 27.] GORPHENAF 22, 1854. [CYF. VII.

## UNFED EPISTOL CYFFREDINOL AR DDEG PRIF LYWYDDIAETH EGLWYS IESU GRIST, SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

*At y Saint yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd, ac at y rhai sydd ar wasgar drwy y ddaear.*

[Parhad o dud. 417.]

EIN hanwyl frawd Willard a aeth tu draw i'r llèn; i ni y mae wedi *myned*; i Joseph a Hyrum y mae wedi *dyfod*. Am ysbaid byr mae'n wir, y gorphwys ei gorff yn y bedd, er ei adnewyddu, ei fywhau, a'i ddarparu i yrfa anfarwol, tuhwnt i ddylanwad pechod, Satan, afiechyd, a marwolaeth. Yn nghyhydedd ei fywyd a'i ddefnyddioldeb y mae wedi ei gymmeryd, yn ymddangosiadol, ddim ond i'w waredu rhag trafferth, gofal, ac ysgatfydd rhag trallod ac erlidigaeth etto a ddaw, o'r hyn yr oedd wedi goddef ei gyflawn ran. Ni fydd ein gwasgariad ond byr, pe yr estynid ein heinioes cyhyd ag einioes y cyffredin o blant dynion. Cymmerwyd ef yn bur glaf ar yr 22ain o Ionawr, a pharhaodd trwy ddyoddefaint llymdost hyd yr 11eg o Fawrth, am hanner awr wedi naw yn y boreu, pan y syrthiodd i gysgu yn muddugoliaethau yr efengyl; yn yr efengyl a'r ffydd hono a'i cynnaliodd cyhyd, a roddodd iddo nerth a gallu yn ei gyfyngderau mwyaf, ac a weinyddodd iddo gysur yn yr helbul a'r cystudd llymaf. Nid ymchwyddai ei fynwes ond am ledaeniad yr efengyl, ac iachawdwriaeth ei rywiogaeth; ef

galon eang ni churai am ddim ond y gwirionedd, iachawdwriaeth Israel, a phrynedigaeth Seion.

Yn ystod yr ychydig flynyddau diweddaf o'i einioes, ymlynodd wrth fywyd trwy lawer o ddyoddefaint, fel y caffai y fraint, cyn y cyd-gysgai â'r Saint, o gyflawni ei ddyledswyddau fel chroniclwr, ac hanesydd eglwysig. Ei fawr ymgais oedd i fod yn ffyddlawn groniclwr o weithredoedd yr Arglwydd yn y dyddiau diweddaf. I gofnodi gwirionedd eglur, y golygfeydd yr aeth y Saint trwyddynt; eu profedigaethau a'u herlidigaethau, eu teithiau, gofidiau, trallodion, a marwolaeth; ac mor aml eu rhyfeddol gadwraeth, ail gasgliadau, gorfoleddau, a bendithion, a chofrestru yn nghofnodau yr eglwys, law-driniaeth Duw at ei bobl—diwallodd ni â thestun mor llawn o ddygwyddiadau, a gyd-blethwyd â'u dyddiol fywyd a'u profiadau hwy, mor ogoneddus a chyd-fynedol â'i deimladau, fel nad rhyfedd y cadwyd angeu i aros wrth y drws, tra yr achosodd ei fawr ymdrech a'i allu, a gefnogwyd gan Ysbryd yr Hollalluog Dduw, ef i yru ysgrifell ysgrifenydd parod, er portreadu mewn ardderchogrwydd a chywirdeb godidog, hanes y bobl hyn, ac amddiffyniad achos y gwirionedd, a chyflwyno i'r genedlaeth ddiweddaf hon, ddyoddefaint godidog, dybenion pur, a chymmeriad dynion ysbrydoledig—dynion Duw, y rhai y mae yr oes bresennol wedi waradwyddo, athrodi, anmharchu, ac o'r diwedd wedi eu bradychu a'u cigyddio, tra o dan lw o ffyddlondeb i'r lywodraeth a elwir yn un gywir a gwaraidd.

Yn ei gylch teuluaidd, cyfeillion, a chydnabyddiaeth, ei farwolaeth a achosodd lawer calon dost, ac yn y swyddi pwysig ac amrywiol, y rhai a lanwodd ag hynod alluogrwydd, anrhydedd, a ffyddlondeb, ei golled a deimlir yn arw.

Yn nghysuron ein crefydd santaidd, er y cawn mai ein *colled* ni ydyw, *ennill* iddo ef ydyw. Er cael ein hamddifadu, trwy ei golli, o'r uniondeb mwyaf diysgog—y gyfeillach fwyaf gwresog ac anwŷrol—y naturiol wresawgrwydd o gydymdeimlad, cynghor, gwir ymroddiad, a ffyddlondeb, a enwogodd ei gyfeillach â nyni, ac â'r bobl hyn, er hyny ni amddifadwyd ni o hono; canys, er fod ei gorff wedi cael ei ysgaru oddiwrthym, parhâ teimladau cydrywiol yn ein mynwesau, yr hyn ni ddileïr byth, ac ni luddir ei ddefnyddioldeb yntau, ond ei weithredoedd a'i canlynant ef.

Yn iach, ynte, ddysgawdwr anwylaidd, am enyd! Edef frau dy yrfa a dorrodd, cydymdeimlwn mewn galar yn amddifadrwydd dy deulu a'th gyfeillion, a'n hunain, eithr ni alarwn am dy golled di: tydi! yr hwn yn fuddugoliaethus a ennillaist yr yrfa, ac a ddiogel angoraist dy lestr yn mhorthladd bywyd tragywyddol.

Ar y 29ain o Fawrth, ymadawodd yr Henuriaid F. D. Richards, Joseph A. Young, Wm. H. Kimball, George D Grant, Edmund Ellsworth, William Young, a James A. Little ar genadiaeth i Loegr, ynghyd a Frederick Kesler a George Halliday, y rhai a'u canlynant hyd St Louis i fasnachu. Penodwyd y genadiaeth hon cyn y Gymmanfa, er eu galluogi i gyrhaedd maes eu llafur mewn pryd i Samuel W. Richards i ddychwelyd adref y tymmor presennol.

Wrth y cofnodion dilynol, gwelir, y gohiriwyd y Gymmanfa flynyddol, nos Sul, y 9fed, ar ol pedwar diwrnod o eisteddiad, hyd y 27ain o Fehefin dyfodol; er fod y tywydd yn oeraidd a thymhestlog, nid oedd y Tabernacl helaeth yn ddigon eang i gynnwys yr oll o'r gynnulleidfa.

Sadwrn a'r Sul, cynnyddasant hyd y fath liosogrwydd, nes, drwy fod y tywydd yn claearu, gorfodwyd i gynnal y cyfarfodydd yr ochr allanol, ac oddifewn i fur amgauol rhandir y Deml, ac ar gydiad ochr ogleddol y Tabarnacl. Etholwyd George A. Smith yn hanesydd cyffredinol i'r Eglwys, a dewiswyd Jededtiah M. Grant yn ail Gynghorydd i'r Prif Lywydd.

Cymmeradwywyd anfoniad Franklin D. Richards, a'r Henuriaid ereill a aethant gydag ef i Loegr, drwy bleidleisiad unfrydol y Gymmanfa, a phenodwyd y brodyr Orson Pratt, Erastus Snow, Orson Spencer, a llawer ereill ar genadiaeth i'r Unol Daleithiau. Penodwyd y brawd Parley P. Pratt i lywyddu yn California, ac efe a Lywydda y genadiaeth i'r Ynysoedd ac i'r gwledydd cyfunol i'r Môr Tawel.

Dewiswyd tuag ugain o Henuriaid ieuainc i fyned i Ynysoedd y Môr Tawel, yr hyn a wna y cyfanrif yn bump a thrugain, a apwyntiwyd yn y Gymmanfa hon, i fyned ar genadiaethau. Gallwn ddweyd mewn gwirionedd iddo fod yn dymhor adfywiadol, er yn gymmysedig â thrafferth ac a llafur i ni, etto daethom trwyddo heb niweidio ein hiechyd, ein teimladau wedi ymgryfhau, ac yn gorlifo o ddiolchgarwch i, ac o gariad at Dduw, ac

yn gyflawn o fendithion ar eu bobl. Teimlwyd rhwyddineb mawr i bregethu gan bawb a lefarasant wrth y Gymmanfa, a dilynodd Ysbryd Duw y geiriau gyda grym i feddyliau y miloedd a ddystaw wrandawent, ac a ymddangosent eu bod yn gwledda ar y danteithion egwyddorol perthynol i fywyd ac iachawdwriaeth, y rhai a ddeilliant o ffynnonell doethineb a gwybodaeth. Llawenhawyd ein calonau gan yr undeb a'r ysbryd daionus a ymddangosodd fod yn llywyddu drwy y Gymmanfa, a gobeithiwn y ceidw ein brodyr a'n chwiorydd yr un Ysbryd gyda hwynt yn eu holl weithredoedd a'u cymdeithasau, gartref ac yn mhlith eu cymmydogion, fel y byddo i undeb, cariad, a brawdgarwch ffynu yn gyffredinol drwy y wlad; fel na chlywer mwyach sôn am anghydfodau, ymrysonau, na chynenau oddi fewn iddi.

Ni allwn ymattal rhag ail annog ein brodyr, cyn diweddu ein Hepistol, o berthynas i weddillion Israel, yn mhlith y rhai yr ydym yn awr yn gwladychu. Cofiwn na ddylid esgeuluso Israel tra yr anfonwn Henuriaid at genedloedd pellenig; pregethwch yr efengyl i'r brodorion sydd yn ein plith, hyfforddwch hwynt yn y modd i ymfywiolaethu, dysgwch hwynt ynghelfyddydau gwareiddiwch, ymddygwch tuag atynt fel y dymunech iddynt hwy ymddwyn attoch chwithau, pe buasech chwi drwy droseddiadau eich henafiaid, wedi syrthio i'r unrhyw anwybodaeth, iselderau, a thruenusrwydd ag yw eu cyfran hwy i'w etifeddu. Cofiwch fod yr amser y tynir ymaith y felldith yn agoshau, ac er mai gweddill a adewir, fe achubir y gweddill hwnw. Os heddwch a ymofynwch, peidiwch ag ymladd yn eu herbyn, canys po fwyaf a ymladdwch, mwyaf a gewch ymladd; eithr cynghorwn chwi fel cynt, gofalwch drosoch eich hunain a'ch meddiannau; na wrthwynebwch eu cecraeth yn eu hanwybodaeth, nac ymddarostyngwch i'w hiselderau, eithr ymddyrchafwch ac ymroddwch i'w dyrchafu hwythau i'ch sefyllfa chwi. Gwna hyn ddaioni iddynt hwy heb wneuthur i chwi unrhyw niwed. Hyn yw Efengyl yr iachawdwriaeth iddynt hwy, y rhai sydd anghenrhaid iddynt drengu, er yn raddol, etto yn sicr, os na ellir drwy offerynoldeb y bobl hyn, eu dwyn i ddealltwriaeth o egwyddorion yr adenedigaeth a'r iachawdwriaeth a barha fodoldeb, a'r hyn a addawyd i'w Tad Abraham a'i fendithion.

Yn derfynol, frodyr, gwrandewch ar gymhelliadau Ysbryd yr Arglwydd eich Duw. Cyflawner chwi o'r Ysbryd Glân; llifed eich heddwch fel yr afon, heb oddefiad nac attaliad; byddwch garuaidd a thrugarog wrth estroniaid, ac yn ddyoddefgar wrth eich gilydd; byddwch ffyddlawn i'ch cyfammodau, dyoddefwch brofiad eich ffydd. Byddwch ostyngedig gerbron yr Arglwydd eich Duw, ufyddhewch i'w orchymynion, a dyrchefir llen y gorchudd, a gwelediad eich llygaid a agorir, a'ch calonau a lenwir o lawenydd a gorfoledd o ddydd i ddydd, megys y gwelwch yr amser yn agoshâu, ac y canfyddwch gamrau yr Hollalluog Dduw yn mhlith troediadau galluog y miliynau daearol yn eu brys i ddinystrio eu gilydd; i ddarostwng drygioni, anwiredd, adferyd Seion, heddwch Jerusalem, ac i ddwyn teyrnasiad buddugoliaethus a thrwyadl, a gwirionedd a chyfiawnder dros yr holl ddaear.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
JEDEDIAH M. GRANT.

Dinas y Llyn Halen Mawr, Ebrill 10, 1854.

---

## EFFEITHIAU TYBACO.

[Parhad o dud. 367.]

GELLIR rhanu yr amryw sylweddau a gymmerir i'r cyfansoddiad dynol megys cynnaliaeth neu foddion cynhyrfiad, i dri dosparth; yn gyntaf, dwfr syml, gan a thrwy yr hwn y dygir yr holl fynediad bywiol yn mlaen, ac o'r hwn y cyfansoddwyd gan mwyaf o'r corff byw—mae ynddo 90 rhan yn y 100 wrth bwys o ddwfr syml; yn ail, sylweddau magwrol, megys llaeth y fam, y ffrwythau bwytaol, llysiau, ŷd, &c.—pethau ag ydynt yn fagwrol yn unig, heb gynnwys un egwyddor gynhyrfiol, gysglyd, neu feddygol; ac yn drydydd, y sylweddau a ddygant ar y cyfansoddiad bywiol effeithiau meddygol neu gynhyrfiadol, ac heb weini unrhyw feithriniaeth i'r cyfansoddiad. Y cyntaf o'r sylweddau hyn, a'r mwyaf cyffredinol a digonol o lawer yn natur, yw y ddiod oreu, y fwyaf naturiol, ac yn sefyllfa ddilygredd y reddf anifeilaidd, dwfr yw y fwyaf cyttunol o'r holl ddiodydd. Ac heblaw hyny, dwfr yw yr unig ddiod a ofynir gan natur. Ond ynddo ei hun, pan yn bur ac heb ei

lygru gan ddyfais ddynol, mae dwfr, o ran ei natur, yn sylwedd swrth. Ai cymhwyso mewn tymheredd briodol, y mae yn fuddiol i'r dyneraf o edafedd euraidd bywyd, am na ddwg unrhyw gynhyrfiad neu adweithrediad. Gweithreda, modd bynag, yn unol a'i dymheredd, gan oeri y corff, neu ei gynhesu yn ol fel y byddo yr achos. Gweithreda hefyd drwy leithio a llithrigo y gwahanol ranau, a gweinydda drwy yr holl gyfansoddiad y dogn o wlybyr sydd anhebgorol er bywyd ac iechyd, gan gyfansoddi, fel y crybwyllwyd eisoes, y gyfran fwyaf o lawer wrth bwysau o'r holl gorff.

Y sylweddau o'r ail ddosparth a nodwyd, a weithredant mewn rhyw ystyriaethau yn wahaniaethol i ddwfr syml, er y cynnwysant yn gyffredin gyfartalwch tra mawr o'r hylif hwnw yn eu cyfansoddiad. Llaeth sy fwy na 90 y cant o ddwfr. Darn o gig eidion, di floneg, heb ei goginio, a gynnwys rhwng 74 a 75 y cant o ddwfr, a bara y pobyddion cyffredin, o'r gwenith goreu, a gynnwys oddeutu 35 gradd y cant o ddwfr.

Pan fyddo yn y cyfansoddiad alwad naturiol ac iachus am feithriniaeth, derbynir y sylweddau a arferir yn gyffredin er magwraeth y corff, yn enwedig y rhai, hyny o'r deyrnas lysieuog, megys maeth gyfeillgar. Ni ddygant ar y llinynau bywiol unrhyw gynhyrfiad neu ymweithiad anmhriodol. Pan fyddo ar faban wrth y fron eisiau maeth, nid oes dim mor gyfeillgar a boddhaol i'w gyfansoddiad a llaeth pur o'r fron famogaidd.

Gwedi i'r dannedd ymddangos, efe a gymmer sylweddau o ffurf cadarnach yn rhwydd, megys ffrwythau a pharotöadau o fwydydd blawdiog. Yn raddol daw i hanfodi yn hollol ar y pethau cadarnach, gan adael yn hollol y bwyd a arferai ei gymmeryd ar y cyntaf.

Mewn perthynas i'r trydydd dosparth o sylweddau a grybwyllasom, y rhai hyny o ymweithiad, cynhyrfiadol, neu meddygol eu rhywogaeth, y mae yn wahanol. Nid oes un plentyn, ar y cyntaf yn caru physygwriaeth, gwirod, tybaco, tê, coffi, na sylweddau ereill o rywogaeth feddygol. Yr wyf yn gwybod y dywedir y dysg plant yn fuan i flasu tê a choffi, cymmysglyn, ac ar rhai achosion tybaco; y rhai ydynt sylweddau o'r dosparth ymweithiedig, neu feddygol. Mae yn wir, fod rhai o'r nwyddau hyn yn cael eu trosglwyddo i gyfansodd-

iad plant y rhanau gwareiddiedig o'r byd, yn y dydd presennol, braidd o'r dechreu. Dichon y trosglwyddir y naill neu y llall o'r nwydd hyn yn y dafn cyntaf o laeth a dderbyn o fron ei fam, oblegid y mae rhidiad llaethog yn gyfrwng a mynediad allan mawr i bob nwyddau meddygol neu gyffyriol a gymmerir i'r cyfansoddiad. Mynych yn y modd hyn y syfrdanwyd ac y meddwyd babanod yn hollol trwy laeth y fam neu y famaeth a arfer yfed meddyglyn a gwirod. Mynych y gwenwyd plant gan physygwriaeth a dderbyniwyd yn y modd hyn, a chredir y dinystrwyd bywyd ei hunan fel yma. Dysgwyd rhai plant i flasu hyd y nod tybaco, er mor ffiaidd ydyw i'r anarferol, trwy eu darostwng yn ddyddiol yn fwy i'r gwraidd atgas hwn. Yr wyf wybyddus i famau a hên neiniau doeth ddysgu babanod, cyn gadael o honynt y fron, i sugno o'r bibell, y rhai a flasant gymmaint arni eu hunain yn eu harchwaeth lygredig, ac am yr hon y diolchant yn ddyddiol i Dduw yn eu calonau, fel am y bara a fwytânt. Ond ni phrawf hyn oll y blasa'r baban y pethau cynhyrfiol hyn yn naturiol, er eu harferir yn gyffredin. Prawf yr holl brofion cywir i'r gwrthwyneb. Ffieiddia pob person mewn oed bob un o'r nwyddau hyn, megys gwenwyn, y sydd a'u harchwaeth a'u greddf heb eu halogi. Pe na chawsem ein darostwng i'w dylanwad mewn unrhyw ffordd, felly y buasem i gyd yn eu ffieiddio Ymgilia greddf anifeilaidd cyfansoddiad na lygrwyd bob amser, oddiwrth wirf, tybaco, tê, coffi, a'r holl gymmysgfa o gyffyriau a chynhyrfiadau penfeddwol ereill.

Yngoleu yr egwyddorion anianyddol hyn, gallwn fyned yn mlaen i olrhain mewn manylrwydd effeithiau tybaco ar y cyfansoddiad dynol, yn yr amrywiol ddulliau ei harferir.

Pan gymmerer tybaco i'r cylla mewn maintioli digonol i beri effaith go fawr, gwrthwynebiad, arloesygiad, a ffieidd-dod mawr, ac ymollyngiad a ddilyn. Cynhyrfa hefyd ddirgryniadau tostlym yn y cylla a'r coluddion i fwrw allan y gwenwyn. Arllwysiad o faintiolaeth gan lleiad ag un dram i'r coluddion a ddinystriodd fywyd lawer tro. Felly hefyd yn y dull cyffredin o arfer y nwydd, megys mygu a chnoi, yr achoswyd arloesiad, clafychiad, ac weithiau gyfogiad. Yr wyf yn cofio yn burion am danaf fy hun, pan yn yr oedran y meddylia plant eu bod yn ddynion, ac y dymunant efelychu arferion ffol a ddilynir

mor gyffredin yn mhlith rhai dosparthiadau, y cymmerais i ddysgu cnoi. Ond cyn i'r ymdrech cyntaf gael ei hanner orphen, buom lwyddiannus i gael fy ngwneyd mor glaf, fel na ddymunais byth mwy wneyd y prawf. Dyna yw yr effaith ar bawb pan y dechreuont fygu neu gnoi, oddigerth eu dwyn yn raddol dan ddylanwad y cyffyr, trwy gael eu darostwng i'w fwg oddiwrth ereill fo yn mygu. Y tadau, y brodyr hynaf, neu famau, neu neiniau, a arferant fygu yn y tŷ, ac, fel y crybwyllwyd, dodir y bibell weithiau yn safn y plant, ac fel hyn gellir cyrhaedd yr arferiad yn raddol heb ddwyn, clafychiad fel yn yr engrhaifftiau ereill. Eithr gan amlaf o arferwyr tybaco a fedrant ein hysbysu am yr amseroedd pan eu harloeswyd, ac eu clafychwyd yn fawr wrth ddechreu ei arfer.

Ond yn raddol daw y cyfansoddiad yn gynnefin a'i effeithiau. Ac yma, mae genym brawf o olygfa hynod mewn anianyddiaeth anifeilaidd, y dichon sylwedd yr hwn ar y cyntaf a fyddo wrthwynebus, ffiaidd, atgas, gwrthun, ac yn alluog i ddinystrio bywyd, ddyfod trwy arferiad i'w flasu gan y cyfansoddiad megys ei gyfaill goreu. A mwy na hyn, daw y cyfansoddiad mor arferedig a'i effeithiau, fel yr ymddengys agos yn anmhosibl i'r person fodoli hebddo. Wele y wraig yr hon a yfodd gymmaint tê am mor hir o amser ag y teimla yn feunyddiol gur pen am dê. Hi a gymmer gwpaniad cryf, ac oll ar unwaith, fel pe trwy swyn, y cur pen a baid. Gan farnu oddiwrth brawf y mynud, arweinir hi i gredu fod tê yn feddyginiaeth anffaeledig rhag cur pen. Eithr pe gwyddai hi ddigon am y cyfansoddiad dynol i allu cymmeryd golygiad eangach o'r peth, hi a ganfyddai mai y peth pennodol a ymddengys am yr amser i fod yn feddygyniaeth mor dda, yw yr achos o'r anhawsdra a deimla hi. Felly, hefyd, y meddwyn gresynus, pan y cynhygio am ddiwygio ei arferion, y teimla ef "Y gwagder poenus" hwnw nad oes ai gŵyr ond y rhai a'i profodd, fel yr â drachefn at ei gwpanau, y mae pob syniad o'i gyfansoddiad yn dywedyd yn amlwg wrtho ef mai o bob peth daearol gwirod yw y goreu.

Deil yr unrhyw egwyddor mewn perthynas i'r tybaco, am fod ganddo gryfach dylanwad tros ddynion nag un o'r pethau ymweithiedeg a grybwyllwyd, ac yn eu caethiwo i fwy graddau efallai nag unrhyw sylwedd arall, heb eithrio pabi.

Dyma fel y mae yn anianyddiaeth y cyfansoddiad dynol; y sylwedd a fyddo ar y cyntaf, i'r archwaeth bur a dihalog, yn ffiaidd, atgas, a chlafychaidd, a ddaw o'r diwedd i'w blasu fel y nwyddau mwyaf cyfeillgar; ac, i arfer ffugyr, gewynau teimladrwydd a ddeuant yn angylion y tywyllwch, er y buont, yn eu cyflwr cyntefig a naturiol, yn angylion goleuni. Yr egwyddorion anianyddol hyn, o wyddoriaeth, ydynt o'r pwysigrwydd mwyaf, ac nis gellir eu dwys ystyried yn ormodol gan yr oll a ddymunont fyw, mor belled a byddo modd, yn y mwynhâd parhaus o nerth corfforol a meddyliol.

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, GORPHENAF 22, 1854.

Llwyddiant yr Efengyl.—Llwyddiant yr efengyl yw testun ein gorfoledd, a chyd-lawenhâ ein cyd-weithwyr o'i phlaid yn mhob arddangosiad o'i harwyddion hi; y mae llythyrau cysurol o wahanol fanau oddiwrth y gwirfoddoliaid, yn arddangos eu ffyddlondeb a'u penderfyniadau yn y gwaith, yn ngwyneb llawer o rwystrau a'u cyfarfyddant, a galwadau taerion am ychwaneg o weithwyr i'r winllan. Ebe y brawd Roberts o Bethesda,—"Na ofned brodyr y deau ddyfod i'r gogledd, canys nid yw yn le mor oeraidd ag y meddyliwch. Frodyr, atoch chwi y mae ein dymuniad, rhowch help eich llaw i ni. Chwi grefftwyr, y mae yma ddigon o waith i chwi, deuwch yma i'n cynnorthwyo; y mae lluoedd o bobl yn meirw yn Môn ac Arfon, heb braidd glywed gair o sôn am efengyl yr iachawdwriaeth, o herwydd nad oes neb i bregethu iddynt; clywwn fod cannoedd o honoch chwi yn sathru ar sodlau eich gilydd braidd yn y deau yna, deuwch y ffordd yma i'n helpio ni. Y mae yr Henuriad O. Thomas, wedi dechreu bloeddio am ffordd y cadw yn eu plith, ac yn cael gwrandawiad da!" Gallem ychwanegu llawer am alwadau taerion brodyr ereill am

help yn erbyn y cedyrn. Frodyr pwy a'u hettyb "Wele fi anfon fi?"

Clywir am effeithiau daionus *Traethodu* o bob cwr lle y gwneir hyny, a gwneler goreu po fwyaf, ac ymdrecher yn mhob dull cyfreithlon i ddwyn dynion i'r Eglwys, ac i rwystro iddynt gael eu twyllo allan gan unrhyw ddylanwad.

*Cymmanfa Sir Fynwy*,—A gynnaliwyd Gorph. 16 a'r 17, yn Nhredegar. Gorlenwyd y Neuadd, a theimlai yr oll a gyfarchai y torfeydd, a nerth a hwylusdod rhyfeddol i lefaru, yn y ddwy iaith. Cafwyd llawer o addysgiadau buddiol gan yr Henuriaid E. Ellsworth, yn ddiweddar o'r Dyffryn, a'r Henuriad Galloway, Llywydd Cynnadledd Sir Henffordd, heblaw gan y Llywyddion Cymreig.

Mawr lawenhai y gwrandawwyr yn y ddysgeidiaeth, a chafwyd pleidleisiad unfrydol i'r holl benderfyniadau a wnaed drwy'r Gymmanfa. Cafwyd y cynnrychioliad fel y canlyn:—

Hen. 83, Off. 27, Ath. 29, Diac. 18, Bed. 30, ysg. 22, bu farw 2, ar wasgar 21, ymf. 4, cyfanswm 547.

---

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG.

CYNNALIWYD y Gymmanfa hon ar yr 2il o Orphenaf, 1854, yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr.

Am 11eg o'r gloch yn y boreu, galwyd y Gymmanfa i drefn gan y Llywydd Dan Jones. Canodd y côr, "Y gynnadledd hon genhedlo," &c. Gweddiodd y Llywydd Daniels, a chanodd y côr.

Y Llywydd—Frodyr, y mae yn debyg y fod pawb ag sydd yma heddyw yn gwybod mai Efengyl Iesu Grist yw yr hon a bregethir genym, ac mai teyrnas Dduw yw hon. Y wybodaeth hon sydd wedi dwyn pob un o'r Saint yma heddyw. Dwys ystyriaeth o'r ffaith hon a baro i bob gonest galon i sychedu am ychwaneg o hyny, gan ymorphwys ar Ysbryd Duw am dano o'r ffynnonell ddihysbydd o ba un y tardda pob daioni.

Y peth cyntaf yr ymwneir ag ef y boreu hwn yw busnes yr Eglwys. Hyderaf fod pob un yn deall fod y cyssylltiad sydd rhyngom yn gyfryw nas gallwn wneyd heb y naill y llall; ac o ganlyniad, mae yr anghenrheidrwydd o'n bod mewn undeb, a cholled pob un na theimla ei hun mewn undeb, o herwydd

ffaeleddau ei frawd. Cynnygiaf ger eich bron ynte, y Llywydd Brigham Young, er i chwi ddangos eich cymmeradwyaeth o hono. Nid o ran ymarferiad y gwneir hyn, ond o herwydd ein gwir deimlad o'r fraint anrhaethadwy o feddu y fath ddyn, mor gymmeradwy gan y nefoedd ag yw ef. O'r ochr arall, os oes rhai yn teimlo i'r gwrthwyneb am rai o weision Duw, dylent amlygu beth sydd yn eu calonau.

Hysbys i chwi yw marwolaeth ein hanwyl Frawd Willard Richards. Testun galar a cholled i'r eglwys yw, ar ol y fath wron. Er fod rhai o honoch heb ei weled, yr ydych yn ei garu. Y mae rhai o honom wedi cael y fraint o'i adnabod, a derbyn bendithion dwyfol trwy ei offerynoliaeth. Cefais i weled ei ddewrder yn Ngharchar Carthage, yn ceisio amddiffyn y diniwed rhag y *mobs* gwaedwyllt. Ffyddlon fu yn y carchar y noson olaf, tra y parhaodd un pelydr o oleuni, i ysgrifenu amddiffyniad i'r gwirion; a phan y gallasai ddianc rhag ofn colli ei einioes, nis gwnaeth, ond cymmysgodd un dyferyn o'i waed â gwaed merthyron duwiol. Sefyll yn ei ran a wnaeth yn erbyn anghyfiawnder a thrais, a'i lais oedd yn ddychryn i ddrwgweithredwyr. Ei goffadwriaeth a beru tra y perchir gwirionedd, ac y gwylia angylion dros y diniwed. Mae ef wedi ehedeg o'r diwedd at y merthyron hyny, a channoedd ereill, i blith Eglwys y cyntaf-anedig, gan adael ei goffadwriaeth yn argraffedig ar galonau miloedd fel na ddilëir mo hono byth.

Gan ei fod ef wedi myned, y mae arall etto yn ei le, sef Jedediah M. Grant, yr hwn hefyd a safodd yn y gigyddfa arswydus hono yn Carthage, yn uwch ei ysgwydd na nemawr un oedd yno. Gobeithiaf y bydd ei ddysgeidiaeth yntau yn felus i ni etto pan awn i Seion, fel y diliau mêl ar ein gwefusau. Yna cymmeradwywyd yn unfrydol y Brif Lywyddiaeth a'r Deuddeg Apostol, ynghyd a'r holl Gorwmau.

Y Llywydd a sylwodd fod arwyddo yn groes yn beth dyeithr braidd i'r Saint. Gofynir weithiau, pa beth yw y rheswm na bai holl lywyddion y byd yn un. Atebaf mai o herwydd nad oes ganddynt Ysbryd Duw. Rhyfeddant, ofnant, ac arswydant wrth weled undeb a chynnydd y Saint, y rhai a welant yn myned i lanw y byd, yn ol eu cynnydd presennol; ac yn eu syndod, gofynant, beth sydd genym i uno dynion â'u gilydd? Atebaf, mai dysgeidiaeth bur, a llywodraeth drefnus y nefoedd,

sef yr Offeiriadaeth Santaidd; pan ufyddhao dyn iddi efe a ufyddha i Dduw, cariad yr hwn a'n cylyma oll yn un, os derbyniwn ef, oblegid, "yr hwn sydd yn eich derbyn chwi, sydd yn fy nerbyn i," meddai Iesu Grist wrth ei weision. Gwneyd hyn yn awr ynte, a'n corona mewn goganiant etto, a *gwnawn* hyn am fod ein dedwyddwch tragywyddol yn ymddibynu ar ei wneyd. Pwy gan hyny fydd mor ffol a pheidio?

Hysbysodd am ryddhad y Llywydd S. W. Richards, o Lywyddiaeth yr Ynysoedd Prydeinig,—ei fod wedi ei foddloni yn ei weinyddiadau, a'i ysgrifeniadau trwy y *Star*. pan ystyrir ei ieuengtyd a'i anfanteision. Ymfudodd tua 6000, a bedyddiwyd tua 7000 yn amser ei lywyddiaeth; a dadguddiwyd egwyddorion mawrion, yn yr hyn y danghosodd ei fawr ddoethineb i drafod y pwnc o amlwreigiaeth, &c. Mae ei frawd F. D. Richards wedi dychwelyd o lygad y ffynnon, yn llawn doethineb, dysgeidiaeth, a nerth Seion, i gymmeryd ei le.

Y Brawd Spencer hefyd, dymunwn adgoffa am dano ef. Y mae ef yn gweddio o'i holl galon dros y Saint Cymreig, ac y mae effeithiau amlwg yma heddyw o'i weithredoedd a'i lafur yn yr ychydig amser y bu yma. Daw ei ddymuniadau i ben, os cyd-weithiwn ni, ac nid ei ddymuniad ef yn unig, ond dymuniadau y nefoedd hefyd, ar i ni lwyddo.

Yna arwyddwyd yn unfrydol dros Lywyddiaeth yr Ynysoedd Prydeinig.

Y Llywydd,—Bob tro y codwn ein dwylaw yn adnewyddol, y mae bendith adnewyddol hefyd, os gwnawn yn ol ein harddangosiadau.

Y Llywydd Jeremy—Anwyl frodyr a chwiorydd,—Y mae yn dda genyf weled yr undeb a'r cariad sydd yn ein plith. Diammheu genyf mai ewyllysgar a fyddwch i ddangos eich boddlonrwydd o, a'ch hymddiried yn y Llywydd Dan Jones. Ei ddysgeidiaeth heddyw, er yn fyr, a achosodd i'r dagrau i redeg o'm llygaid, ac Ysbryd Duw i dreiddio trwy fy ngwythienau, wrth ei glywed yn adgoffa y golygfeydd a welodd.

Cymmeradwywyd y brawd Dan Jones yn Llywydd ar yr Eglwys yn Nghymru, ac ar y Gynnadledd hon hefyd.

Y Llywydd,—Nid peth bychan yr ystyriaf yr ymddiried hwn ynof gan gymmaint â hyn o bobl; arddengys gariad a serch, yr hyn a'm gosoda o dan rwymedigaeth i beidio eu siomi yn

eu dysgwyliad hyd a allaf. Dymuniad fy nghalon yw eich llesoli, a dysgu ewyllys Duw i chwi, a chyhyd ag y gwnaf hyn, gofynaf eich ufydd-dod gwirfoddol i mi, a'ch ymddiried i'r un graddau ynof. Yr wyf fi yn teimlo, ac yn *gwybod* fod fy llywyddion yn dysgu ewyllys Duw i mi, a da genyf weled fod y Saint yn arddangos yr un grediniaeth ynof finnau. Nid yw hyn yn chwyddo dim arnaf, ond yn fy narostwng i weled fy ngwaeledd ger bron Duw, yr hwn sydd yn rhoddi dylanwad i ddyn trwy ei Ysbryd Glân, yn ol ei ostyngeiddrwydd.

Yna cymmeradwywyd y brodyr Jeremy a Daniels yn gynghorwyr i'r brif Lywyddiaeth.

Hysbyswyd fod John Jones, yr hwn a fu yn henuriad teithiol, wedi cael ei ryddhau o'r swydd hono, gan nad ystyriai ei hunan y gallai ymwneyd a'i fasgnach a theithio.

Yr Henuriad Robert Parry hefyd a ganiatawyd i fyned i Ogledd Cymry i bregethu yr efengyl, yn ol ei ddymuniad ei hun. Rhyddhawyd ef o'r Gynnadledd hon trwy gydsyniad unfrydol.

Cymmeradwywyd yr Henuriad Dafydd Williams yn Henuriad teithiol, llafur yr hwn sydd eisoes wedi ei goroni â llwyddiant yn y Gynnadledd hon, ac hefyd yr Ysgrifenydd a'r Prif Ddosparthwr William Sims.

Dymunai y Llywydd glywed teimlad a phenderfyniad llywyddion y Cangenau, a pha gyfarwyddiadau sydd yn eisieu arnynt, fel yr elont oddiyma yn galonog, ac yn llawn nerth i gyflawni ewyllys Duw, i'r hyn ni chaniatâ amser y boreu hwn.

Y Cynnrychioliad sydd fel y canlyn:—2 o Archoffeiriad, 266 o Henuriaid, 94 o Offeiriaid, 103 o Athrawon, 65 o Ddiaconiaid, 69 wedi eu tori allan, 12 wedi marw, 4 wedi ymfudo, 112 wedi eu bedyddio, 85 wedi eu gollwng trwy lythyr, 57 wedi eu derbyn trwy lythyr, 56 ar wasgar, a'r cyfanswm yw 1887.

Canodd y côr, a therfynwyd trwy weddi gan y Llywydd Thomas Jeremy.

(*I'w barhau.*)

---

## CYMMANFA SIR FRYCHEINIOG.

CYNNALIWYD Cymmanfa chwarterol y Gynnadledd hon yn Neuadd y Clarence, Wainhelygen, ar y 9fed o'r mis hwn. Cyn-

nrychiolwyd 7 o gangenau, a gynnwysent 28 o henuriaid, 10 o offeiriaid, 7 o athrawon, 7 o ddiaconiaid, 5 o Saint ar wasgar, 7 wedi eu bedyddio, y cyfanswm yn 154. Cafwyd y Neuadd yn orlawn o Saint a gwrandawwyr. Yr oedd y cyfarfodydd yn fywiog, a'r genadwri yn rymus. Yn mhlith ereill o frodyr cawsom y fraint o glywed ein parchus Lywydd Jones a'i Gyngborwyr yn annerch y cyfarfodydd, nes y meddyliem fod seiliau teyrnas y tywyllwch yn crynu. Teyrnasai undeb a chariad dros yr holl Saint, ac argoelion da am lwyddiant mawr ar achos y Gwaredwr, yr hyn yw taer ddymuniad yr oll o honom.

THOMAS MORGAN, *Llywydd.*
THOMAS GRIFFITHS, *Ysgrifenydd.*

---

## Y MORMONIAID YN SAN BERNARDINO.

Allan o'r "Daily Alta California."

YN mhlith yr amrywiol olygfeydd neillduol yn California, un sydd yn deilwng o sylw neillduol ydyw sefydliad y Mormoniaid yn San Bernardino, Saint y Dyddiau Diweddaf, pa rai sydd yn credu mai Joe Smith (ac nid Ioan) gafodd y genadwri o'r nefoedd i argyhoeddi y byd, ac i bregethu yr unig wir athrawiaeth, cyfatebol i'r amser presennol, pa rai sydd yn canlyn ei efengyl, megys eu colofn o dân y nos, a'u cwmwl y dydd, trwy ddiffaethwch bywyd.

Gwnaeth erlidigaeth y Mormoniaid yn Ohio, Missouri, ac Illinois hwynt yn grwydriaid. Yn flaenorol i 1845 anfonasant genadon i chwilio am Ganaan, yn gymmaint a'i fod yn eglur na chawsent aros yn heddychol yn nyffryn Mississippi. Cafwyd hanes da iawn gan y cenadon a ddaeth i Galifornia. Yn 1847, daeth byddin o'r Mormoniaid gyda'r Milwriad Cook i làn y Môr Tawel, a llawer o honynt a arosasant yno. Mormon a gafodd o hyd i'r aur gyntaf yn Melin Sutter; ac agosrwydd eu sefydliad yn Utah a'u galluogodd hwynt i fod y rhai blaenaf i fedi o'r cynheuaf euraidd. Dychwelodd y teuluoedd i Ddyffryn y Llyn Halen, pa rai a ddaeth a hanes am y tir toreithiog, a'r heulog fro o'r Dyffryn ar lán California. Penderfynasant yn 1851 i wneuthr sefydliad ger San Diego, trwy ba un y mae y ffordd fyraf a'r goreu tua'r Môr Tawel.

Gyda chymmeradwyaeth Brigham Young, awdurdodwyd

Amasa Lyman, un o'r Deuddeg, a'r Henuriad C. C. Rich, i ddewis cartrefle newydd i bump cant o Ymfudwyr; a phrynasant Gangen San Bernardino ar ffordd San Diego a'r Llyn Halen, ynghyd a da a cheffylau, &c., am 70,000 o ddolars. Tiriodd yr Ymfudwyr yn Hydref 1851. Amgaeiwyd 2000 o erwau o dir, adeiladwyd caer o amddiffynfa rhag yr Indiaid, hauwyd eu ŷd, ac adeiladwyd tai. Nid oedd y gaead-le fawr yn eiddo cyffredinol, ond yr oedd gan bob person ei ran i'w hau a'i fedi. Yn ystod y flwyddyn gyntaf, yr oedd yno rai anhawsderau,—amrafael yn mhlith y gynnulleidfa, yn ogystal ag angau a phrofedigaethau, ond llwyddodd y sefydliad, megys y mae pob sefydliad Mormonaidd wedi gwneyd. Gwnaethpwyd heolydd, adeiladwyd tai, melinau ŷd a llifio; daeth ymfudwyr newydd yno; ac yn 1852, cyn bod y drefedigaeth yn flwydd oed, yr oeddynt yn anfon blawd i farchnadfa San Francisco, ac yn prynu yn helaeth o'r nwyfau yno.

Y mae y boblogaeth bresennol yn dros fil o rifedi, ac argoelion cynnyddu. Nid oes yn un o'r Taleithiau sefydliad mwy diwyd a chynnyddfawr, neu un mewn cyfartalwch i'w rhifedi yn gweithio mor effeithiol.

Y maent yn addaw y bydd San Bernardino yn ddinas mwyaf hardd yn Nghalifornia, ac i farnu wrth eu dechreuad, a'r hyn y maent wedi ei wneyd mewn lleoedd ereill, hwy gadwant at eu haddewid.

Yn eisteddiad y Senedd ddiweddaf, sefydlwyd San Bernardino yn Swydd ymwahanol, ac felly y mae gan y Mormoniaid lywodraeth fechan o eiddo eu hunain. Etholwyd Jefferson i fod eu cynnrychiolwr yn yr eisteddiad nesaf. Eu hysbrydol arweinydd yw eu Hesgob, Crosby, ond Rich fedd fwy o ddylanwad.

Lle hardd yw eu Dyffryn, gyda mawr fanteision naturiol. Y mae yn 30 milltir o hyd wrth y dwyrain a'r gorllewin, a 15 milltir o led wrth y gogledd a'r deheu. Tua'r dwyrain y mae mynydd San Bernardino, codiad pa un sydd yn agos i'r awyrbarth o eira tragywyddol; ac o waelod y bryniau hyn y tardda lliaws o ffrydiau haelionus. Y mae y Dyffryn yn cael ei ddyfrhau gan afon Santa Anna, heblaw lliaws o ffrydiau ereill. Tua 60 millrir i'r deheu-orllewin y mae'r lân. Los angelos yn 60 milltir, San Pedro yn 75 o filltiroedd, a San Diego yn 80 milltir o'r lle hwn.

Y maent yn bwriadu i San Diego fod yn brif fasnach-le i'r sefydliad. Y pellder sydd tua wyth can milltir i'r deau orllewin o Ddinas y Llyn Halen. Y mae y ffordd o Ddyffryn Bear River i'r Môr Tawel yn llawer gwell nag un arall. Digonedd o ddwfr a phorfa y rhan fwyaf o'r ffordd; a choed da mewn rhai lleoedd.

Y mae'r Saint eisoes wedi deffroi i weled y pwysigrwydd o gael cledrffordd, ac y mae y wlad yn ffafriol iawn i hyny, ac os unwaith y dywed eu blaenoriaid ei fod i'w wneyd, mae yn sicr o gael ei wneyd, ac y mae yn bur debygol mai hwn fydd y rhan gyntaf a orphenir o'r gledrffordd i'r Môr Tawel.

Y mae y Mormoniaid yn gymmydogion da, ac yn cael eu hystyried mor foesol ac uniawn a'r mwyafrif o ddinasyddion California. Ychydig sydd yn cael ei ddweyd am eu hathrawiaeth o aml-wreigiaeth, ac er mwyn heddwch, nid yw debygol y gwnant ddwyn i mewn yr arferiad hwnw i'r dalaeth. Mae yn hoff genym nad oes yr un ragfarn a chasineb yn erbyn y Mormoniaid yma ag oedd yn Mississippi, ac y mae lle i obeithio y gwna barhau felly. Ni haedda eu hathrawiaeth nemawr barch; ond nid ydynt i'w gorchfygu trwy erlidigaeth a gwawd.

Y mae yn deilwng o sylw, fod y rhai a ddarganfuasant yr aur gyntaf, y ffermwr cyntaf, a'r dyn cyfoethocaf yn Nghalifornia, yn neu oeddent i gyd yn Formoniaid.

*Cyf.* WM. SIMS.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O GORPH. 13 HYD GORPH. 18.—Sir Fynwy, £7 10s.—*Cangenau Dwyr. Morganwg*—Pendeulwyn, 1s 6c; Twynyrodyn, 6s; Pontfaen, 1s 6c; Georgetown, 4s 4c; Troedyrhiw, 4s 6; Cwmbach, 6s.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 28.] GORPHENAF 29, 1854. [CYF. VII.

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG.

[Parhad o dud. 433.]

### SYLWADAU Y LLYWYDD JONES.

*Hanner awr wedi dau.*—Y Llywydd a lawenhäai wrth weled cynnifer wedi dyfod ynghyd. Gobeithiaf na siomir neb (meddai), ond y mwynheir Ysbryd Duw y prydnawn hwn etto, fel yn y boreu. Yr Arglwydd a'n harweinio i siarad o dan ddylanwad Ei Ysbryd Glân er gogoniant i'w enw.

Y mae cymmaint o bethau i'w dweyd, a chymmaint o awydd i chwithau i glywed yr oll, fel y mae yn gryn anhawsdra i ddewis y pethau goreu, a mwyaf anghenrheidiol i'w dweyd.

Dyben y dyn gonest wrth ymgrefydda yw cael gafael mewn nefoedd, a'i brif amcan yw mwynhau holl wrthrychau ei serch. Canol-bwynt sugndyniad holl grefyddau ein gwlad, yw y nefoedd. Mae gan y Saint amcan i fwynhau llawer nefoedd, ac ni chredant, fel rhai, mai un nefoedd yn unig sydd i'w chael, a hono yn un ysbrydol, heb un mwynhad o bethau sylweddol ynddi, ond i fath o nefoedd tu draw i'r môr yna y mae sugndynfa y Saint yn gyntaf. Mawr fel yr hoffa rhai glywed am Seion, lle y preswyliant mewn heddwch, wrth ben eu digon. Llawer o ddysgwyliad sydd mewn Cymmanfa fel hon, i glywed am y mwyniant sydd yno, a'r ddysgeidiaeth werthfawr a geir yno, er eu cymhwyso i oddef presennoldeb Iesu Grist pan ddaw yn ei ogoniant, a pha fodd y deuant allan yn yr adgyf-

odiad cyntaf, i etifeddu gorseddau, llywodraethau, a choronau anniflanedig yn Nheyrnas Dduw, &c. Mae hyna yn dda i'r rhai sydd *yno* i feddwl am dano, ond y peth cyntaf i ni ystyried yw ein dyledswyddau yma, ac wrth wneyd hyny yr egyr y ffordd i ni fyned yno. Os na ystyriwn hyn yn gyntaf, tebyg fyddwn i'r sectariaid a soniant am fwyniant rhyw nefoedd fry, "tu hwnt i ororau'r eangder," ond ni ddangosant hyd y nod y cam cyntaf o'r ffordd tuag yno! Sôn am y ffordd i allu *dechreu* myned yno sydd beth difater ac anystyriol ganddynt hwy. Y Saint a soniant am Seion, ac am fyw yno, ac hiraethant am fod yno, yr hyn a arddengys i mi mai Ysbryd Duw yn unig a'u cynhyrfodd i'r fath deimladau da, ac a gododd eu meddyliau uwchlaw gormes a thrais, i'r breswylfa wynfydedig yn Seion, yn mhlith y Saint, i gael eu cynnysgaeddiadau, a'u dysgu yn nghyfraith y teulu nefolaidd; ond gwell yn bresennol yw peidio myned mor uchel â'n hysbrydoedd, lle nad all ein cyrff fyned yr un pryd, eithr dyfod a'n hysbrydoedd i'r lle y mae ein cyrff, a'n calonau lle mae ein gwaith, sef yn y wlad lle yr ydym yn byw. Y ffordd oreu i ymgrefydda yw gwneyd y peth cyntaf ar ein pwys, ag sydd yn wir angheurheidiol i'w wneyd, ac a allwn wneyd, yr hyn â'n galluoga i wneyd peth sydd fwy, fel y byddwn radd yn agosach i'r nefoedd nag o'r blaen. O dan yr ystyriaeth hon yr wyf yn bwriadu rhoddi dau destun i'm brodyr yma i sylwi arnynt yn y Gymmanfa hon, sef, *Beth ydym, a pheth a ddylem fod.*—Byr yw yr amser yn bresennol i ddweyd beth ydym, na pheth a ddylem fod ychwaith.

Beth ydym ni? Profwyd ini mai Saint y Goruchaf Dduw ydym, ac aelodau o eglwys Iesu Grist, y rhai sydd yn dysgwyl am fwynhâd o'i ogoniant, trwy fwynhâd o ernes o'r etifeddiaeth a dderbyniasom, ac er ein galar, rhai ydym yn byw tu yma i'r môr, yn Nghymru, ïe, ac i ddyfod yn nes i dref, yn Nghynnadledd Ddwyreiniol Morganwg; wrth y cyfryw y siaradaf yn bresennol, ac os derbynia rhywun arall leshâd, ac addysg, croesaw iddynt.

Y mae dyledswyddau yn orphwysedig ar Saint Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, ac y mae Duw yn eu gofyn oddi ar eu llaw, o ganlyniad, bydd yn bechod yn erbyn Duw iddynt beidio eu gwneyd. Dyna resymeg deg, ac os ymresyma neb eu hunain allan o honi, gwnant fwy nag a allaf fi wneyd. Os

profant fod rhyw bethau gwell iddynt wneyd na'r hyn eu dysgir, carwn iddynt beidio eu cuddio, eithr eu hamlygu i ninnau. Nid oes yr un gorchymyn yn cael ei roddi i un llywydd, swyddog, teulu, na pherson o fewn y Gynnadledd hon, nad yw holl weision Duw oddiyma i Seion, a Duw ei hun yn eu cyd-orchymyn hefyd. Ar y sail hon y safaf fel ar gastell amddiffynfa, i gael genych wneyd yr hyn y mae Duw yn ei ofyn. Beth yw y canlyniad o beidio gwneyd yr hyn y mae Duw yn ei ofyn? Os ewyllys Duw yw ei gyfraith, ac os yw anghyfraith yn bechod, a bod neb yma heb wneyd pob rhan, mewn pob amgylchiad a ofynwyd ganddo, y mae yr anufydd-dod hwnw yn bechod arno. Daethym a chlorian yma heddyw, i bob un gael pwyso ei hun,—drych sydd genym i bob un edrych ei wedd,—edrych i groniclau y nefoedd, a gweled mewn llythyrenau euraidd, beth yw ei gymmeriad. Mae pob gweithred o'n heiddo yn argraffu ein hanes, fel nas gall amser na dim arall eu dileu yn dragywydd. Edryched pob un yn ol ar ei weithredoedd, a gweled pa fath ydynt.

Yr wyf fi yn foddlon gwneyd pob peth ag a allaf, meddai ambell un; nid yw Duw yn gofyn rhagor genyt, ynte. Os oes yma rywun nad all ddweyd hyny, a dweyd y gwir, deued i allu dweyd hyny. Llawer o sôn sydd am ymgrefydda; nid yw dyfod i Gymmanfa, a chael cyfarfodydd da, a myned i Seion, ond rhan o hyny, ac y mae yn gryn orchwyl i'n cael mor ddaearol â hyna. Ein ehedfan, yn ol dychymmygion crefydd ein hieuengtyd, sydd fry yn uchel tu hwnt i'r cymylau, ac o'r golwg; ond yn awr y mae ynwyf wresawgrwydd at y blaned fach hon, lle y bwriadaf osod fy nghorff i lawr i gysgu, a lle y daw fy ysbryd i'w gael drachefn, i fyw arni mewn dedwyddwch,—a mwynhâd o bethau anghenrheidiol, ac o holl wrthrychau fy serch, mewn nefoedd dymhorol, (os tymhorol y galwch hi) yn ogystal ag ysbrydol, a hyny trwy ymwneyd â'r grefydd sydd yr un mor dymhorol ag yw ysbrydol. Swm crefyddau yr oes yw dysgu dynion i ymwadu â'r ddaear hon, eithr ymdrechaf fi gael eich meddyliau ehedegog i'r ddaear hon lle yr y'm, a lle mae ein gwaith, a'n dyledswyddau crefyddol. Peth dyeithr iawn gan rai yw clywed fod rhoddi arian at y grefydd yn *rhan* o grefydd. Ystyriaf mai crefyddol a fyddaf wrth ofyn hyny genych,—y byddaf yn ymwneyd a'm crefydd. Mae casgliadau ar y Gyn-

nadledd hon, sef y Drysorfa Ymfudol Barhaus, y Deml, ac at gynnal y gweision sydd yn llafurio ynddi. Ystyriaf fod pob un o'r casgliadau hyn mor anhebgorol anghenrheidiol ag yw unrhyw ran arall o'n crefydd, o herwydd fod Duw yn eu gofyn yr un modd. Os yw Duw yn gofyn hyn, peth crefyddol yw, neu ynte y mae Duw yn gofyn peth anghrefyddol; ac os credwn nad yw yn gofyn peth anghrefyddol, nid oes genym le i syflyd o'r ffordd heb weled ein dyledswydd o gyfranu arian at yr achos, a bod hyny yn grefyddol hefyd. Beth yw y rheswm fod dynion yn gwrthod gwneyd hyny? O herwydd fod rhy fach o grefydd ganddynt, yw hyna, fel rhywbeth arall. Pa fodd y derbyniasom yr Ysbryd Glân? Trwy gredu, edifarhau, a chymmeryd ein bedyddio er maddeuant pechodau, heb weled hyny yn ormod; ac heb wneyd hyny buasem heb gymmaint o fendithion ag sydd genym yn bresennol. Gan mai trwy ufyddhau i'r rhan gyntaf o grefydd y derbyniasom y fendith o dda n yr Ysbryd Glân, felly trwy wneyd pob rhan arall o'n crefydd y sicrhawn *holl* fendithion Duw. Fel mae y dyn a ofna niweidio ei ddillad pe caffai ei fedyddio, yn ei amddifadu ei hun o'r Ysbryd Glan, felly mae y dyn a ofna gyfranu o'i eiddo er cynnal ei grefydd yn amddifadu ei hun o fendithion gwir grefydd. Nid crefydd glytiog yw crefydd y Saint, ond un gyfan, ac ni achubir dyn wrth ymwneyd ag un rhan, a gadael y llall heb ei gwneyd.

Dosparth arall sydd yn foddlon rhoddi at y naill gasgliad, a dim at y llall, ac felly amddifadant eu hunain o'r bendithion addawedig wrth wneyd hyny.

Y mae genyf ffeithiau profedig, ac enwau rhai a wnaethant felly, o dan yr un ystyriaeth a'r dyn a ofnodd niweidio ei ddillad pe cymmerai ei fedyddio; a hwy sydd dlota a llyma eu cefnau yn y diwedd.

Os braint ydyw i wneyd un rhan o grefydd, braint ydyw gwneyd y cyfan. Os gadawn un ran o'n crefydd heb ei gwneyd, pa fodd y dysgwyliwn gymmeradwyaeth Duw drwy gondemnio y rhan arall o honi.

Mae y llyfrau sydd yma yn dangos eich bod wedi bod yn ffyddlon er ys amser yn ol, i gyfranu at y Gymdeithas Ymfudol, ond nid felly yn awr. Ystyriaf mai y peth mwyaf ei anghen a'i bwys yw dweyd hyn wrthych heddyw, yn hytrach na sôn

am Seion a'i mwyniant, fel sectariaid am y nefoedd,—soniwn *pa fodd y mae myned yno.* Yr un modd hefyd gyda phob casgliad arall. Dewis un casgliad a gwrthod y llall, sydd debyg i ddewis un ordinhad, a gwrthod y llall. Y mae Duw wedi bendithio y rhai a roddasant y ddegfed ran o'u heiddo, ac wedi gorlenwi eu hysguboriau, hyd nes nad oedd dim lle ganddynt i gynnwys eu cnydau, ac y mae y rhai a beidiasant a chyfranu wedi myned yn dlotach, a *thlotach* yr â pawb o'r fath, po leiaf a roddant, llwydach yr â y wisg; po dýna ei galon, týna i gyd ei logell hefyd; ond paham y siaradwn fel hyn, ai ein heiddo ein hunain yr ydym yn gyfranu? Onid Duw a'n pïa ni â'n heiddo? Efe a roddodd fenthyg ei eiddo i ni er ein profi; arolygwyr ydym, ynte, ar eiddo arall, ac iddo Ef y rhaid i ni roddi cyfrif pa fodd y gwnaethom; ac os arolygwyr drwg ydym, lleiaf i gyd a gawn i arolygu arno.

Er ys blwyddyn a hanner yn ol, codwyd dwylaw yn y Gymmanfa hon i gynnorthwyo cenadon Duw i Benrhyn Gobaith Da, ar gyfandir Affrica; ond gofynaf, *pwy* sydd wedi sefyll at eu haddewid? Ychydig bach o gangenau o'r llawer sydd yma. Os mai rhan o grefydd oedd cynnorthwyo y dynion hyn i fyned i bregethu yr efengyl, pa ryfedd fod dynion a beidiasant wneyd hyny yn achwyn nad ydynt yn teimlo cystal ag arferol. "Yr oeddwn i yn meddwl mai ewyllys rydd oedd genyf," meddai y cyfryw. Ië, yn siwr, ond beth yw ewyllys rydd, ai caniatâd i roi neu beidio? Mae yn rhaid fod y dynion a ystyriant felly mewn tywyllwch. Ewyllys rydd fel yna a adawa i'r anffyddlon gael coron o ogoniant ar orsedd wrth ochr y ffyddlon,—i'r diogwr gael myned i fewn i orphwysfa yr Arglwydd, yn ogystal â'r hwn a oddefodd bwys a gwres y dydd,—un a'u hachuba i gyd! Dechreuwr yr ewyllys rydd yna oedd Lusiffer yn y nefoedd, a'i bleidwyr a'i pleidia. "Mi a'u hachubaf i gyd, anfon fi, cânt eu hewyllys rydd," ebe fe. Y rhai sydd a'r ewyllys rydd yna a orphenant eu gyrfa gyda Lusiffer, i gael mwyniant o'r un deyrnas. Ewyllys rydd y Saint, a'r angylion santaidd yn y nefoedd yw gwneyd ewyllys Duw ar ol ei gwybod. "Dy ewyllys di, O Dad, a wneler, ac nid fy ewyllys i." Dyna yr ewyllys rydd a gynnygiwyd i Gynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, ac y mae rhai wedi ei derbyn, ac ereill yn gwneyd yn ol ewyllys yr hen Lusiffer. Pan oedd Israel yn dyfod i fyny

o'r Aifft, yr oedd Moses ganddynt i ddadguddio iddynt ewyllys Duw,—safon eu ffydd, a therfyn pob dadl. A iawn ddefnyddiasant yr ewyllys rydd hono, drwy ufyddhau i ewyllys Duw? O naddo, aethant yn rhy frâs, a blinasant ar fwyd y boddlonodd angylion Duw yn y nefoedd i fyw arno, a gwaeddasant am gig yn ol eu hewyllys eu hunain, ac ni chyfrifent Moses yn ddigon da iddynt yn hwy, nac yn werth gwrandaw arno; ac o'r diwedd gwnaethant lo o aur, yn ol eu hewyllys rydd eu hunain, ac a addolasant hwnw, yn hytrach nâ'r Duw a'u gwaredodd, ac a'u porthodd â bwyd angylion, o herwydd iddo roddi ewyllys rydd iddynt i wneyd fel y mynont. Pan welodd Duw eu cam-ddefnydd o ewyllys rydd, rhoddodd y gyfraith Foesenaidd iddynt, sef dant am ddant, llygad am lygad, a llabyddio â cherrig, yn ffrewyll i'w ffrewyllu am ei cham-ddefnyddio, ac am iddynt sathru bwyd y nefoedd dan draed. "Am ddiystyru fy ewyllys, a rhedeg yn mhell oddiwrthyf, mi a'u fflangellaf yn ol," meddai y Tad trugarog yn y diwedd. Dywed Paul mai o herwydd troseddiadau yr ychwanegwyd y gyfraith, sef am *gam*-ddefnydd o ewyllys rydd.

Y mae rhai aelodau gyda'r Saint, wedi myned yn rhy frâs, ac yn cam-ddefnyddio ewyllys rydd, yr hon a roddwyd iddynt gyda gwybodaeth o ewyllys Duw. Cofiwch am y gwas anfuddiol, yr hwn a wybu ewyllys yr Arglwydd ac nis gwna, o herwydd iddo gael rhyddid i wneyd neu beidio, a gurir â llawer o wialenodau. Pa fodd y mae bod yn weision buddiol ynte? Gwneyd mwy nag a ofynir ganddynt, o'r hyn y gwyddant sydd eisieu ei wneyd; os na wnant hyn, trefn Duw yw eu fflangellu hyd nes eu gwnant; megys dweyd fod hyn a hyn y pen arnoch i dalu o'r ddyled arosol yn ol eich cyfartalwch, am sathru un o egwyddorion goreu y nefoedd, wedi ini hir geis o genych i'w pharchu, neu ynte, amddifadu eich hunain o freintiau yr eglwys a gynnelir gan ereill.

A oes yma rai am barchu yr egwyddor hon? Os oes, yr wyf fi yn barod i godi fy nwylaw i fyny tua'r nef yn arwyddocâd o'n bod yn myned i gael treial teg arni etto. Mae yr amser wedi myned heibio i mi adael dynion i wneyd fel y mynont. Beth a wneir? Rhaid gwneyd rhywbeth. Y mae rhai Cangenau wedi talu, a phe byddai y papyr genyf, cyhoeddwn hwynt. Mi a wn fwy am anufydd-dod rhai nag a feddyliwch,

ac ni wyddoch lai nad yw eich cymmeriad yn Seion wedi ei groniclo i'ch cwrdd mewn dydd a ddaw. Mae rhai a'i cyfrifant yn ormod i roi 1s 6½c, at y Deml. Nid wyf fi am gadw dynion a wyddant ewyllys yr Arglwydd, a gallu ganddynt i'w gwneyd, ac nis gwnant, yn yr Eglwys. Yr wyf am i Lywyddion y Cangenau i edrych o hyn allan pwy sy'n cyflawni eu dyledswyddau mewn cyfranu, a phob dyledswydd arall, dweyd yn dda am eu gilydd, a byw mewn undeb a chariad. O herwydd fod rhai o'r pethau hyn yn cael eu hesgeuluso, y mae Glân Ysbryd yr Arglwydd yn cilio ymaith. Mae ei ddewis gan bob Llywydd i osod y rhan hon o'r gyfraith Foesenaidd ar bawb na iawn ddefnyddiant rydd ewyllys Duw. Dywedai Moses wrth Israel gynt, "*Rhaid* i chwi wneyd hyn os ydych am fod yn ddinasyddion yn Israel." Dywedwch chwithau wrth y rhai ag ydynt ar yr enw o Saint, fod yn *rhaid* iddynt fod yn Saint, os ydynt am aros yn yr Eglwys hon. Gwn fod cannoedd o ddynion ar hyd y mynyddau yma a amddiffynant ein crefydd, a rhwystrir hwy i fewn i deyrnas Dduw, o herwydd y cam-ddefnyddia'r Saint eu crefydd. Gofynir gwaed y cyfryw ddynion ar eu penau, pob un ag a ddemnir o honynt. a hyny, o herwydd anffyddlondeb Saint i'w hachub! Pan ddaethom yma yr oedd yma tua hanner dwsin o Hennriaid Llywyddol yn cael eu cynnal yn gysurus, yn y Gynnadledd hon, ac yr oeddynt fel boneddigion eu golwg, ac achwynodd rhai fod gormod o faich arnynt, a thynais hwynt lawr i gyd, hyd at un heblaw fy hunan, ac ysgrifenydd; po cynnilaf i gyd yr ymdrechem fyw, lleiaf i gyd oedd y casgliadau i'n cynnal o hyd, a hyny o herwydd y cam-ddefnydd o'r egwyddor o ewyllys rydd. Pan aeth y brodyr Llywyddol ereill i ffwrdd, dywedais na wasgwn arnoch ond mor lleied ag a allwn, a llywyddais y Gynnadledd hon fy hun, rhag eich gwasgu, na chadw neb a allasem wneyd hebddynt, i fyw ar y Gynnadledd hon ; ac er cywilydd i agos i ddwy fil o Saint, dywedaf fod esgeulusdod mawr wedi ac yn bod, i ddiwallu anghenrheidiau y rhai a'ch gwasanaethant chwi n ffyddlon eu holl amser! A ydyw hyn yn gyfiawn? Heb i chwi wneyd yn gyfiawn ni fendithia Duw chwi. Ai gofyn mwy o arian genych yn afreidiol yr ydym? Nage ddim; eithr yn hytrach eich dysgu i iawn ddefnyddio yr egwyddor o ewyllys rydd, i fod yn weision buddiol, ac i ddianc rhag i'r Arglwydd

osod y ffrewyll arnoch, a rhag i'ch llywyddion eich gorfodi i wneyd, neu eich tori allan,—rhag i chwi sathru o dan eich traed egwyddor a'ch dyrchafa am bob tragywyddoldeb, os ufyddhewch iddi. Yr egwyddor hon a'n gorfododd ni i fyned i waered i ddyfroedd bedydd, ac a ddygodd i ni faddeuant pechodau, a dawn yr Ysbryd Glân, a gobaith am fwynhad tragywyddol o wynfyd a hedd; a'r egwyddor hon, os iawn ddefnyddiwch hi, a'ch dyrchafa i orseddau breiniol, ac yn etifeddion pob peth.

Mae arnaf drueni dros rai o lywyddion y cangenau, y rhai a weithiant ddydd a nos braidd i gynnal eu teuluoedd, ac a ânt dros fryn a phant tra y parbao eu clyniau i'w cario, ar ol rhai er eu hadferyd, gan golli eu cysgu'r nos, a niweidio eu hiechyd, wedi gorfod gweithio y dydd, i gael gan ddynion i wneyd gofynion Duw, yr hyn a ddylent fod *wedi* ei wneyd o'u hewyllys rydd.

"Yr wyf fi wedi gwneyd fy ngoreu," meddai Llywydd y gangen, i gael gan ddynion i gyfranu at y Deml, neu ryw gasgliad arall. Cofied Llywyddion y Cangenau y gallant wneyd y naill beth neu'r llall o honynt.

Wedi iddo ddarllen y *list* o'r casgliadau am y chwarter a aeth heibio, yn cynnwys tua £6 8s at ddyled y Gynnadledd, ac nad oedd Cangen Merthyr wedi rhoi dim ond chwe' cheiniog at hyny, dywedodd,—Frodyr Merthyr,—Ni chaiff y fath wawd ei wneyd o Offeiriadaeth Duw, ac o egwyddorion ei deyrnas. A oes neb o honoch a ddigia pe rhoddwn gyfraith Moses arnoch? Gwell yw genyf gael gwared o ddynion na wnant ewyllys Duw, a chael dynion o'r byd yn eu lle, y rhai a wnant hyny; etto, y mae yma rai ffyddlon yn tristâu wrth weled diffyg o gydweithrediad. Dywedaf wrthych wirionedd, mai o herwydd hyn y mae dynion yn colli Ysbryd Duw, yn oeri, a myned i dafarndai i wario eu harian, ac a syrthiant yn ol i gaddug o dywyllwch. Yr wyf am i chwi o hyn allan i fynu gweled naill ai ewyllys rydd yn cael ei pharchu, neu y gyfraith Foesenaidd yn ffrewyllu ei hanmharchwyr.

Yna edrychodd ar y *list* drachefn, a gwelodd fod £11 wedi eu casglu at y Deml, a dywedodd,—Faint o awydd, debygwch, y mae Duw y nefoedd yn weled mewn dwy fil o bobl i adeiladu Teml iddo? A fendithia Efe y rhai a wyddant eu bod yn es-

geuluso ei orchymynion pendant? I ba le y mae ystyriaeth y cyfryw wedi myned?

Anfoddlona rhai gyfranu at y Gymdeithas Ymfudol, o herwydd na chânt hwy ddefnyddio yr arian fel mynont, ac ymfudo y sawl a fynont.

Sefydlwyd y Gymdeithas hon gan y Llywydd Brigham Young, ac y mae y bobl hyn am ddwyn ei swydd, wedi codi eu deheulaw tua'r nefoedd i'w gynnal i fyny fel Llywydd! Dangosant mai golwg fach iawn sydd ganddynt arno, o herwydd nad allant ymddiried ychydig bethau tymhorol i'w drefniant ef!

Hyderaf fod digon wedi ei ddweyd i osod awydd ynoch i wneyd yn iawn o hyn allan, ac os ydych am brofi eich Llywydd a ydyw yn dweyd y gwir ai peidio, gwnewch fel y mae yn dweyd, ac fe'ch bendithir ar eich canfed mewn pethau tymhorol, a dylifa bendithion Duw fel yr afon ar bob ymdrech o'ch eiddo, o herwydd Duw geirwir yw ein Duw ni.

Mae rhai yn symmud o'r Gynnadledd hon heb dalu y rhan a ddylent at Ddyled y Gynnadledd, &c., ac yr wyf wedi gosod y gyfraith Foesenaidd er cael hwn i fewn, gan fod fy Llywyddion wedi ei gosod arnaf finnau.

Gobeithiaf y cawn godi ein penau yn uwch nâ'r dòn, a chael ein Cynnadledd i fyny o'r pwll hwn.

William Lewis, *Ysgrifenydd.*

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, GORPHENAF 29, 1854.

Yr Ymfudiad.—Mae yr hysbysiad diweddar o fwriad y Brif Lywyddiaeth i gasglu y Saint Ewropaidd i'r Unol Daleithiau, wedi cynhyrfu anesmwythder cyffredinol drwy yr Eglwys yn Nghymru; a thra yr ymlawenhawn gyda hwynt yn y dylanwad hiraethog am Seion, ac yn y gobeithion adnewyddol a geir drwy y trefniad o ymgasgl-fanau yn y Taleithiau; etto,

mae y gofyniadau mynych am gynghor i fyned yn awr, a'r rhyddid a gymmer rhai i ymbarotoi i ymfudo, yn ein cymhell i ateb y cwestiwn hwn fel hyn, er arbed y drafferth o'i ateb bob dydd braidd; sef, mai y cyfarwyddyd a gawsom ni yw, aros yn amyneddgar, hyd oni hysbysir ni gan ein Llywyddiaeth fod y brodyr wedi cyrhaedd yno o Seion, gwneyd y darpariadau bwriadol, cytuno am y cludiad yr holl ffordd, ac anfon eu bod hwy yn barod. Dyma gynghor yr Eglwys, ac ni ddysgwylir i ni ddweyd yn amgen; ac felly, ni allwn ystyried y neb a elo cyn hyny, yn amgen nac anufyddhawr i gynghor; er hyny, dichon amgylchiadau rhai eu cyfiawnhau am wneyd eithriad,—hwy sydd i farnu hyny yn ol eu hamgylchiadau, a rhyngddynt hwy a'u Duw bydd y canlyniad o hyny; eithr hyn, meddwn, ofer-waith yw i neb ofyn i ni am gynghor i fyned, cyn y cawn y cynghor hwnw; ac ni oedwn ei wneyd yn hysbys, wedi cael yr amser i gychwyn.

Nid amser i segura yw y tymhor arosol hwnw chwaith, eithr dylai agoshâd y cyfnod ymadawol â'u gwlad, eu perthynasau, a'u cenedl, ddeffro y rhai a ragwelant y perygl o aros yn hwy yn Babilon, i ddiwydrwydd dyladwy i rybuddio ereill o'u deu tu,—o ddynesiad dydd mawr ac ofnadwy yr Arglwydd,—dydd cwymp Babel fawr, a'i holl au-grefyddau, a'i chymmysgedd annuwiol o bob trythyllwch. Dwys ystyriaeth o'u cyfrifoldeb yngwyneb y ffaith y rhaid iddynt etto, ryw ddydd, sefyll wyneb yngwyneb eu gilydd, a'u cymhello i roddi tystiolaeth eglur a dealladwy i'r rhai a adawant, am y tro diweddaf, efallai, yn y fuchedd hon, drwy eu bucheddau cyfiawn, caruaidd, a duwiolfrydig, eu hannogaethau taerion, a phob diwydrwydd i'w hargyhoeddi o'u perygl, ac o fendithion y waredigaeth. Dydd sobr a ddylai fod dydd y rhybuddio, canys sicr yw mai sobrwydd a lanwa bob mynwes ar ddydd y cyfrif. Dydd prysur yw dydd marchnad, a mwy cyfoeth na'r byd a'i olud a ennilla yr hwn a iawn ddefnyddia ddydd gras a thymmor iachawdwriaeth.

Doeth fyddai i'r ymfudwyr gofio hefyd cyn cychwyn, fod gwyntyllau cryfach, ac etto yn gryfach i'w cyfarfod fel yr agoshânt at yr ysgubor; anghenrhaid yw chwythu ymaith yr ûs, cyn y bydd y gwenith yn lân. Ymbarotoer i gyfarfod gwyntyllau yr ymgasgl-fanau cyfeiriedig, ynte; o herwydd

siomir rhai os na chodant gorwyntoedd digon cryfion i chwyrnellu rhai o'r ûs dros y môr yn ol, ac feallai y caffant eu ffordd i lygaid rhai i'w dolurio, os nad eu dallu. Megys y mae ymlyniad ambell wenithen wrth ei hûs, yn gofyn grymusach nithiad i'w hysgaru, y mae ymlyniad rhai dynion wrth eu pechodau yn gofyn ymdrech glewach i'w cael o'u gafaelion; ac fel yr â ambell wenithen gyda'r ûs yr aiff dynion gyda eu pechodau, gan feio ar yr hwn a geisio eu hysgaru. Ymdreched pob un ymlanhâu ei hun, ac yna ni fydd perygl i'r wyntyll ei chwythu gyda'r ûs.

APPWYNTIADAU.—Mae yr Henuriad Robert Evans wedi cael ei ryddhau o Lywyddiaeth Cynnadledd Orllewinol Morganwg, a'i osod yn Lywydd ar Gynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, a'r Henuriad William Lewis yn Ysgrifenydd, a dymunir iddo ddechreu ar faes ei lafur yn ddioed.

Gosodwyd yr Henuriad Dewi Elfed Jones, o Lywyddiaeth Cynnadledd Llanelli, yn Lywydd ar Gynnadledd Orllewinol Morganwg, ac A. L. Jones yn Ysgrifenydd.

Mae y Llywydd Daniels yn y Gogledd er ys enyd, ac yn ysgrifenu newyddion cysurlawn am ansawdd yr Eglwysi yno, a llwyddiant yr efengyl.

---

## LLYTHYR Y LLYWYDD DEWI E. JONES.

*Llanelli, Gorph.* 19, 1854.

MYGEDAWG LYWYDD JONES,—Hoff i mi yw anfon atoch o bryd i bryd ein helynt a'n hamgylchiadau yn y Gynnadledd hon. Bu cyfarfod pregethu yn Porthyrhyd ychydig wythnosau yn ol. Traddodwyd deg o bregethau yno gan wyth o honom. Cawsom gymmwynasgarwch mawr iawn iawn, gan Mr. Thomas, prif Westywr y lle; rhoddodd i ni le cyfleus dros ben i bregethu, ac i ereill wrandaw. Taled yr Arglwydd iddo ef a'i wraig garuaidd yn rhagor nâ dau ddyblyg, am eu daioni a'u cynnysgaeth i weision y Duw byw.

Cynhyrfodd y sôn am y mawreddog BROPHWYD JOSEPH SMITH, rai dynsoddau traddodiadawl iawn, fel y dangosasant i ni eu cefnau ymadawedig, trwy ddodi o honynt y *droed olaf yn mlaenaf* mor sionc ag y gallent; a chan fod un o honynt dipyn yn fwy cnawdog nâ'r lleill, yr oedd ei gerddediad yn fwy

clymsi, hwyrdrwm, a phwfflyd. Pan oedd y cyfarfod boreuol drosodd anfonodd am danaf y tu arall i'r heol, a rhoes i mi groesaw, heb yngan gair am yr hyn a fu, tra y darllenai arall, yn y Newyddiadur, hanes marwolaeth gwraig ein hybarch Batriarch John Smith. Daethant drachefn i'r cyfarfod prydnawnol, pryd y cawsom bregethu a gwrandawiad rhagorol, oddieithr un fenyw hanner gwrachaidd a aflonyddai ryw ychydig arnom. Ar ddiwedd y cyfarfod rhoddwyd i mi rai gofyniadau, gan y dynsawd rhag soniedig, mewn perthynas i bregethu, sef "A oeddem yn galw yr hyn a siaradem yn bregethu yr efengyl?" Atebais ein bod. Gofynais iddo os oedd efe ei hun yn gwybod rhywbeth am bregethu, ac os oedd, iddo ddangos i mi, yngwydd y gynnulleidfa, y gwahaniaeth ag oedd, rhwng pregeth, araeth, a darlith, &c., a pha fodd i gyfansoddi pob un o honynt. Ar hyn aeth i *gonfusion* gwyllt. A gofynodd i mi, os mai rhyw arwr *(hero)* bach oeddwn, yn penderfynu trechu pawb, a gwneyd ffyliaid o ddynion, &c. Dywedais wrtho mai hero bach dros y gwirionedd oeddwn, ac y cawsai efe wybod hyny hefyd; ac mai fy mhrif ddyben oedd dwyn dynion o dywyllwch traddodiadol i oleuni a gwybodaeth syml o efengyl Crist. Y dyn hwn oedd yn dal swydd o dan un o foneddigion penaf yr ardal hono, a chanddo, fel y tybir, gryn dipyn o ddylanwad ar ryw fath o ddynion. Ac o herwydd fod ei leferydd yn ei gyhuddo, deallais fod traddodiadau yn gyd-blethiedig â'i gyffansoddiad palffog, a braidd yn cylchredeg gyda'i waed i ranau pellenig ei gorff. Trodd ymaith gyda chywilydd, ac ugeiniau yn llygadrythu arno gyda ffieidd dra, am ei anfoesgarwch mewn lle mor gyhoedd, a gwaeddodd un dyn allan o'r dorf, " dacw ef yn ffoi, —dyna *goward*, dewch yn ol a sefwch eich tir wr," &c. Ymaith yr aeth gan fwmial, a rhoddais iddo *good by*, ac nis gwelais ef mwyach. Hyderaf, er hyny, y daw yn fuan i edifeirwch, ac i gydnabod y gwirionedd. Effeithiodd hyn yn fawr ar y bobl oll, a pharodd ymgasgliad lliosocach o lawer yn yr hwyr. Pregethwyd gyda dylanwad nerthol, a chafwyd gwrandawiad rhagorol iawn. Cyd-ganai amryw yn soniarus gyda ni ar ddiwedd y cwrdd. Wrth fyned i'r tŷ, cyfarchid fi gyda llonder gan amryw o'r gwrandawwyr, gan ddywedyd, " *Wel done*, yr ydych yn fyw byth, ac wedi peri i'r cawr ffoi." Llawer ydynt yn credu yn y lle hwn.

Yr hwyr canlynol, pregethodd dau o honom yn ymyl y lle, a bedyddiwyd un. Wrth weled hyn, aeth yn dwrw mawr trwy yr holl le. Ymunodd y gwahanol sectau 'cristionogol' yn erbyn Saint y Goruchaf. Cynnaliasant bwyllgorau,—bygythiasant yr hwn a roddodd le i ni bregethu.—cynllunasant y llwybr goreu yn eu bryd hwy i ladd ein dylanwad, ac i attal ein hymgyrch. Galwasant ynghyd fiinteioedd yr ysgolion Sabothol, gan eu ffurfio yn gatrodau. Y Cadfridogion Revrendaidd a'u llywiasant i faes y frwydr. A'r Sul canlynol, clywid sŵn magnelau catechismau yn saethu bwledi traddodiadau yn erbyn y Saint, a hyny gyda y fath rymusder â phe gwelech gannoedd o fân blantos y trefydd yn saethu, neu chwythu bwmbwl neu ffroth o ben pibell, i attal hynt y corwynt. A merch Seion ar y bryn uwch ben, yn crechwenu ha, ha, ha!

Yr wythnos ganlynol, sefydlasom Gangen newydd yn ymyl y lle, yn cynnwys chwech o Saint, a bedyddiwyd un gwrol yno wedi hyny, yr hyn a wna y nifer yn saith, ac argoel cryf am fedyddio amrai yno yn ychwanegol. Yr ydym yn enw yr Arglwydd wedi gwersyllu ar gyfer y lle, ac y mae amddiffynfeydd y tair teyrnas sectarawl ar fyned yn chwilfriw mân. Mae y lle dan *bombardment* parhaus genym. Ein tân-belenau a ymdorant yn orwyllt am draws eu gwersylloedd, nes y maent yn aflonydd amrosgo, a'u Cadfridogion mal pe byddent wedi eu syfrdanu mewn terfysg dihafal ac aruthrol. Credwyf am y lle hwn y gellir dywedyd am dano fel hyn:—

Codir gwedd baniar heddwch,
I'r awelon ffloywon fflwch;
Ein Iôr gorchfygu a wnaeth,—
A gwelir buddugoliaeth.

Sul, yr 16eg o'r mis hwn, cynnaliasom Gymmanfa bregethu yn y Chwech Heol. Pregethodd naw o'r brodyr o dan ddylanwad Ysbryd y Gwirionedd, a chafwyd gwrandawiad rhagorol a channoedd yn wyddfodawl. Mae argoelion da iawn am fedyddio yn y lle hwn hefyd. Yr hwyr canlynol bedyddiwyd un gan y brawd David Davies, fy nghydweithiwr ymdrechol, diwyd a ffyddlon.

Corffolasom gangen newydd hefyd yn Trumsaran, a dywenydd genyf eich hysbysu fod bedyddio yn myned yn mlaen yn y cylchoedd hyn. Er nad yw y Phariseaid sectarawl yn parchu

cynghor Duw, y mae y cyfreithwyr yn gwneyd, bedyddiasom un cyfreithiwr yma, sef, Williams, Ysw., Pinged, ac y mae ef wrthi â'i holl galon yn cyflawni cyfraith Crist, a gwneuthur ewyllys ei Dad yr hwn sydd yn y nefoedd. Bedyddiasom rai yr wythnos ddiweddaf, a rhai yr wythnos hon. Y mae amrai etto yn barod ar fin y dwfr. O, na welwn gannoedd yn rhagor yn dyfod i fewn i'r eglwys hon, yr hon y gwn ei bod yn Eglwys Iesu Grist.

Buom yn chwynu ychydig yr amser a basiodd, a da iawn genym hyny, o herwydd tyfa y lleill yn fwy praff, rhonc, blagurog, a ffrwythlon, gan fwynhau Ysbryd Duw yn helaethach. Llwyddiant ar bregethiad efengyl y tangnefedd, yn mhob man trwy bedwar ban y byd. Yr ymgasgliad i Seion fyddo wrth y miloedd ar filoedd a llawer rhagor.

O doed, O doed y ddedwydd awr,
Caf fod yn rhydd o Babel fawr;
Ar Seion draw, a'i llwyddiant hi,
Mae tynfa serch fy nghalon i.
Gwrthrychau goreu'r ddae'r i gyd,
Ail dyddim ydynt yn fy mryd;
Tra curo calon dan fy mron,
Mi garaf lwyddiant heddwch hon.

Yn Seion caf, byth i barhau,
'Rhyn mae fy nghalon am fwynhau;
Mae meddwl am ogoniant hon,
Yn tanio beunydd serch fy mron.

Yr eiddoch yn serchus,

DEWI ELFED.

---

## IACHAD O'R CRYD.

*St. Sior, Gorph.* 9, 1854.

MR. GOL.,—Gan fod gallu Duw yn cael ei amlygu yn ein plith, ystyriwn yn ddyledus arnom ei wneuthur yn hysbys, er gogoniant i'w Enw, a chadernid ffydd ei bobl Ef. Yr oedd dwy o'r chwiorydd yn crynu o'r Cryd, sef Ann Parry, Park, a'i merch Leah, pa rai a berthynent i Gangen Abergele. Hwy a alwasant atynt Henuriaid yr Eglwys, sef John Parry, Edward Parry, a Rice Williams; a hwy a weinyddasant yr ordinhad o eneinio ag olew, ac arddodiad dwylaw arnynt yn enw yr

Arglwydd, a'r Cryd a'u gadawodd, ac ni chrynasant mwyach. Mae amryw yma yn, ac allan o'r Eglwys yn dystion o'r uchod.

Ydwyf eich brawd yn yr Efengyl,

EDWARD PARRY.

---

## CYFADDEFIAD THOMAS JOHN O'I GAM-GYHUDDIADAU YN ERBYN CAPT. D. JONES.

*Abertawy, Gorph.* 24, 1854.

BARCHUS SYR,—Methaf a chael esmwythder gan fy nghydwybod, heb gydnabod fy meiau wrthych, a chrefu am eich maddeuant. Er cymmaint o ddaioni a welais ynoch ar hyd y ffordd i Galifornia ac yno, ac er na welais ynoch drosedd o gyfraith Duw; etto, rhyw fodd, cafodd y gelyn y fath ddylanwad arnaf, fel ag i'm dwyn i'r fath dywyllwch, nes myned allan o Eglwys Dduw, a dweyd pethau drwg am eich cymmeriad chwithau, ac er na fum euog o ddywedyd yr oll, na'r hanner, o'r hyn a dadogir arnaf, etto y mae yn edifar iawn genyf o herwydd i mi ddywedyd un drwg yn eich erbyn, ac yr wyf yn taer erfyn eich maddeuant chwi, maddeuant y Saint, a maddeuant Duw, fel y gallwyf ddyfod yn ol i'w Eglwys Ef, lle yn unig y ceir bywyd tragywyddol. Attebiad buan, da chwi.

Eich gostyngedig was, *ei*

THOMAS ⋈ JOHN.

*arwydd.*

---

### TEIMLAD Y LLYWYDD JEREMY AT T. JOHN.

Anwyl Frawd Jones.—Gobeithiaf y maddeuwch i Thomas John yn ol ei ddymuniad, o herwydd ymddengys i mi yn *wir edifeiriol* am yr oll a wnaeth i'ch erbyn; gwerthfawr yw ei enaid yntau, ac hyderaf y byddwch mor barod i faddeu iddo ef ag y profasoch eich hun yn barod i faddeu i lawer a draethasant anwireddau arnoch, ac y caiff yntau faddeuant y nefoedd, yw dymuniad eich brawd,

THOMAS JEREMY.

---

## ATEBIAD I'R UCHOD.

DYWEDIR fod llawenydd yn mhlith angylion Duw am *bob* pechadur a edifarhao, a theimlwn ninnau lawenydd wrth hysbysu y

gallwn faddeu i Thomas John yngwyneb ei edifeirwch, *hyd y nod pe byddai* ei bechodau fel ysgarlad; eithr yn gymmaint ag na allodd efe bechu mor fawr â hyny wrth dduo cymmeriad un mor fychan â ni, hawdd yw maddeu iddo, a maddeued y rhai a rwystrwyd o herwydd credu cam-gyhuddiadau arnom; iddynt hwy y gwnaeth y drwg mwyaf; ni all efe, ni all arall ond ein hunan ein niweidio ni,—i ofal un galluocach y rhoddwyd ein cymmeriad i gadw, ac Efe a'i ceidw. Ceir gweled a fydd taenwyr yr ystoriau hyny mor barod â Thomas John i'w galw yn ol, ynte ai gofidio a wnant, o herwydd iddynt gael eu gwrthbrofi mor eglur a diymdrech i ni. Dysgwn oll ddwy wers oddiwrth hyn, sef i beidio rhoddi barn mor ehud ar arall, a dysgwn beidio eu coelio chwaith; eithr pan difenwir yn ddiachos, aroswn amser Duw i amddiffyn, Efe a bïa dïal. Yn dawel aroswn iddo Ef roddi bach yn ffroenau ein diarhebwyr ereill a'u harwain, er mor uchel eu ffroen, i lyfu y llwch nes teilyngu maddeuant, fel yr asen wyllt,—yn eu mis y ceir hwynt. Hir-amynedd Duw a'u harweinio i edifeirwch, er achubiaeth eu heneidiau eu hunain, yw gweddi y

GOL.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y RHYFEL.—Nid yw y llynges yn y Baltic wedi cymmeryd Cronstadt hyd yn hyn, eithr gorchfygwyd y Rwsiaid gan y Twrciaid mewn amryw o frwydrau yn ddiweddar.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O GORPH. 18 HYD GORPH. 27.—Sir Ddinbych, £1.—*Cangenau Dwyr. Morganwg*—Georgetown, 4s 3c; Ffynnon-Tydfil, 3s 6c; Cwmbach, 9s 5½c.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. D. Jones*, 14, *Castle Street, Merthyr-Tydfil.*

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION.

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 29.] AWST 12, 1854. [CYF. VII.

## ARAETH Y LLYWYDD YOUNG YN Y GYMMANFA,

*A gynnaliwyd ar y 6fed o Ebrill, 1854, yn y Tabernacl, yn Ninas y Llyn Halen Mawr.*

YN flaenaf, frodyr a chwiorydd, carwn ddeall yn eglur beth yw eich teimladau, a gwybod a ydyw pob person ag sydd yn proffesu ei hun yn Sant y Dyddiau Diweddaf, yn meddu sicrwydd y boreu heddyw, ei fod wedi ei heddychu â Duw,—fod ei heddwch megys afon ffrydiog dragywyddol, fel y byddo Ysbryd yr Arglwydd Iesu ynddo megys ffynnon o ddwfr bywiol. Os yw Ysbryd Duw ynoch fel hyn, yn tarddu i fywyd tragywyddol, y mae yn adnabyddus i chwi. Hyn yw y rhan bwysicaf o orchwyl ein Cymmanfa. Pe bai ein eisteddiad yn parhau am flynyddoedd, nis gwn am un neges a chymmaint o bwys i'w gosod ger bron ein Cymmanfa. Pedair blynedd ar hugain i heddyw y sefydlwyd ein Heglwys. Meddyliwn fod miliwnau o bobl yn perthyn iddi, neu meddyliwn fod ychydig, a hwy wedi ymadael ag Ysbryd yr Efengyl Santaidd, wedi gwrthgilio yn eu serchiadau, ffydd, ac ysbryd dadguddiad,—wedi ymadaw â'r Arglwydd eu Duw, ysbrydoliaeth yr Ysbryd Glân, gweinidogaeth angylion,—y doniau a'r bendithion wedi eu gadael,—wedi ymgynnull mewn rhith, yn cydsynied ag arfer sefydledig, yn ymarfer ag ordinhadau teyrnas Dduw, yn canlyn rheolau a threfniadaeth iawn ffurfiad Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, a dim rhagor nâ rhith farwol ynddynt, nis gallant dderbyn un gronyn o leshâd wrth gyfarfod fel hyn. Yna,

yn gyntaf, gofynaf i'r brodyr ag sydd wedi bod yn y deyrnas am ugain, un ar hugain, dwy ar hugain, a thair ar hugain o flynyddoedd (oblegid y mae yn bresennol rai sydd wedi bod yn yr Eglwys o'r dechreuad), pa fodd y maent yn teimlo y boreu hwn? Beth yw cyflwr eich meddyliau? Pa fodd y mae eich ffydd? A ydych yn teimlo mor ddedwydd a phan ddarfu i chwi gofleidio yr Efengyl gyntaf? A yw ysbryd dadguddiad ynoch yn awr megys y pryd hwnw? Beth a ddylwn dderbyn yn ateb, pe atebid yn iawn? Gallaf roddi fy meddwl i,—credaf fod llawer a all ddweyd yn wirioneddol, fod Ysbryd yr Arglwydd wedi cymmeryd ei drigfa gyda hwynt, yn anneddu gyda hwynt yn barhaus o ddydd i ddydd, o wythnos i wythnos, o fis i fis, ac o flwyddyn i flwyddyn. Nid ydynt byth hebddo, o herwydd ei fod ynddynt, ac o amgylch iddynt yn wastadol, y maent yn llawn o hono o goryn eu pen hyd wadnau eu traed, ac y mae yn gydymaith parhaus iddynt. Gyda phob dyn a menyw a fydd yn ffyddlon i'w Duw, i'w crefydd, wedi eu cyflawn brofi, y gwna yr Arglwydd yn ddiau ei drigfa,—gyda hwy y preswylia Efe, ac nis gadawir hwy iddynt eu hunain, nag i allu y gelyn ddim mwy. Dichon y cânt eu profi a'u temtio, ond bydd arfau eu hamddiffynfa bob amser yn barod, eu tarian sydd wedi eu boglymu, yn wastadol wedi eu harfogi ag arfogaeth Crist, yn alluog i guro yn ol, i daflu ffwrdd, a dinystrio pob gallu o eiddo y gelyn a ymosodo arnynt.

Dyma yr awgrym cyntaf o'n Cymmanfa. Gofynaf etto i'r brodyr a'r chwiorydd a ddaethant i'r Eglwys yn ddiweddar, ac o fewn ychydig flynyddoedd wedi croesi y gwastadedd i'r lle hwn, pa fodd yr ydych yn teimlo, a ydyw Ysbryd yr Arglwydd yn awr yn gorphwys arnoch? A ydyw gweledigaethau eich meddyliau yn agored i weled ac amgyffred y pethau perthynol i fywyd ac iachawdwriaeth? A ydych chwi yn caru yr ysgrythyr, gair y bywyd, fel yr Arglwydd, a'i bobl, a'i gyfiawnder, megys ag y gnaethoch y dydd pan y darfu i chwi gofleidio yr Efengyl hon gyntaf? Os nad ydych wedi gwir brofi ynoch gynnyrch o ddaioni nefol, wedi cynnyddu yr ydych yn ysgolheigion hurt. Pa sawl un a all ddweyd eu bod wedi gwir brofi cynnydd o'r Ysbryd yna, a dweyd, Yr wyf yn caru yr Arglwydd, yn caru ei bobl, a'i achos yn well, well, bob dydd o'm bywyd; fy nealltwriaeth sydd yn cael ei ymeangu, o herwydd

fy mod yn gweled ac yn deall llawer o bethau, pa rai nad oeddwn yn ddeall pan ddarfu i mi gofleidio yr Efengyl gyntaf. Gan mai ychydig yr oeddwn yn garu, yr wyf yn awr yn caru achos y gwirionedd yn helaeth; gan mai ychydig yr oeddwn yn wybod, yr wyf yn awr yn gwybod llawer mwy, ac felly, mewn cyferbyniad i'm cynnydd mewn gwybodaeth, y mae fy nghariad a'm hymddiried yn fy mrodyr. A ellwch ddywedyd hyn mewn gwirionedd? Os gellwch, y mae pob peth yn iawn.

Etto, apeliaf at y rhai hyny ag sydd yn euog o droseddiadau (os oes rhai yma), ac yn dilyn hyny. A ddaethoch chwi o'ch cartrefleoedd i'r Gymmanfa hon, cyn yn gyntaf edifarhau am eich pechodau, a chael maddeuant? Os felly, yr wyf am i chwi ymadael ar yr hamdden bresennol, a myned gartref etto, ac yno yr wyf am i chwi aros nes y bydd eich pechodau wedi eu dileu; neu ceisiwch gan Henuriad i'ch bedyddio yn afon y Ddinas, a golchi ymaith eich pechodau, fel na fyddwch yn rhwystr i'r rhai sydd yn bur, fel y byddo calonau pawb yn y Gymmanfa hon yn bur gerbron Duw, a chael ychydig i'w gyfranu i'r holl gorff, fel y byddo pob calon yn cael ei goleuo trwy allu Duw, a derbyn Ysbryd Santaidd yr Arglwydd Iesu Grist, a chynnyddu o'r amser presennol mewn pob cyfiawnder, ac nid myned a dyfod fel drws ar ei fachau, heb un cyfnewidiad er gwell. Pan fyddo y bobl yn cwyno ar eu gilydd, ar yr Eglwys, ar galedi, ar amser caled, ar y peth hyn a pheth arall, o herwydd nad yw yr Arglwydd yn siarad o'r nefoedd â'i lais ei hun, o herwydd nad yw dadguddiadau Duw yn eglurhaol, megys yr oeddynt yn nyddiau Joseph Smith. Yr oll ag sydd genyf i ddweyd wrthych yw, parotowch eich calonau, o herwydd fod yr oll i chwi, a gellwch ei dderbyn, a llawer mwy nag yr ydych yn gwybod pa beth i wneyd o hono. Dyna gymmaint ag sydd yn anghenrheidiol i mi i ddweyd ar y pwnc yma.

Bydded i bob dyn a dynes ymddarostwng eu hunain gerbron yr Arglwydd, ac ymarferyd â ffydd nerthol. A ddaethoch chwi yma i gael eich bendithio gan y Brif Lywyddiaeth, a'r Deuddeg? Nid yw yn ein gallu ni eich bendithio, os nad ydych yn barod i dderbyn bendith gan ein Tad yn y nefoedd. Gallwn sefyll ger eich bron yma, a siarad â chwi, ond nis gallwn roddi Ysbryd yr Arglwydd, os nad ydych yn barod i'w dderbyn, trwy ein gweinyddiaeth ni, y mae yn dyfod oddiwrth yr Ar-

glwydd. Bydded pob calon, ynte, yn weddigar, yn wyliadwrus, gan ymarferyd ffydd, a cheisio yn ddiwyd am y bendithion i ni ein hunain, ac yna ni a gawn ein bendithio gyda ein gilydd.

Yr wyf yn gwylied y bobl hyn gyda phryder mawr, a theimladau am eu mawr leshâd. Yr wyf yn edrych ar eu hymarweddiad, ac y mae yn drist genyf ganfod llawer yn crwydro yn eu teimladau oddiwrth ffyrdd gwirionedd a chyfiawnder. Mynych y gofynir i mi, a yw yn iawn i ddynion a ddaethant i'r Dyffryn, wedi cael eu bendithio a'u hadfendithio, ac o'r diwedd i dderbyn eu cynnysgaeddiadau, ac yna myned i California; ac oni ddylid eu tori allan o'r Eglwys. Dylent gael eu tori allan oni bai un peth, y mae yr Arglwydd am iddynt gael digon o gyfleusderau, i gymmeryd llwybr i achub eu hunain. Nid meddwl yr Arglwydd yw eu tori allan, fel peth cyffredinol, o ganlyniad, y mae yn well i ninnau beidio. Pe byddai yn feddwl yr Arglwydd, ninnau a gydsyniem, ond yn gymmaint ag nad yw, byddem yn cyfeiliorni wrth wneuthur hyny. Pe bai pob dyn, dynes, a phlentyn yn y deyrnas hon yn byw yn ngoleuni, bendithion, a dadguddiadau yr Iesu, ai tybied yr ewyllysiai neb o honynt fyned tua Chalifornia? Atebech y gofyniad hwn yn nacäol, a gwaeddech allan am gael arbed y poen a'r dyoddefaint a gaffid trwy fyned yno, ac am ddianc rhag y gofid, cyfyngder, ac ing trwy aros gyda phobl Dduw. Ië, frodyr, chwychwi ag sydd am fyned, ewch; ond y mae genyf rywbeth yn ychwaneg i ddywedyd wrthych, hyny yw, talwch eich cyfiawn ddyledion cyn yr eloch, a pheidiwch a chymmeryd eiddo pobl ereill.

Mynych y gofynir i mi, a achubir y rhai a ânt i Galifornia i chwilio am olud bydol. Atebaf, gwneir rai o honynt, ond megys trwy dân. Nid oes ganddynt ddigon o ddoethineb, pwyll, na gallu naturiol, a meddyliaf fod eu hysbrydoedd, cyn dyfod i'r byd, heb eu cynnysgaeddu â'r un cyfartalwch o reswm ac adfyfyriad ag ereill, fel nas gellir eu hachub ond trwy dân. Eled y rhai a ewyllysant i Galifornia, ac os yw y Saint yn ddyledus iddynt, talwch iddynt yn anrhydeddus; ac os ydynt hwy yn ddyledus i chwi, gorfoder hwynt i'ch talu. Fel peth cyffredinol, yr wyf wedi gorfodi brodyr i dalu i mi yr hyn sydd ddyledus. Yr wyf wedi penderfynu iddynt dalu eu dyled, ac hefyd na chaffont ladrata dim oddiwrth y bobl hyn, fel yr

elont i'w dyoddefaint mor gynted ag y bo modd, o herwydd po cyflymaf yr ânt yno, cyflymaf i gyd yr ânt trwyddynt. A achubir hwynt? Gwneir. Beth! a'u darparu i fyned i deyrnas nefol Duw? Ië, os edifarhant am eu pechodau, a throi at yr Arglwydd. A pha beth a wnant yno? Dywedwyd wrthynt er ys blynyddau, am beidio gwneuthur dim ag a fuasai yn cynnorthwyo ac yn adeiladu y cenedloedd. Ond hwy a wnant hyny, ac o anghenrhaid y mae yn rhaid iddynt fyned trwy y dyoddefaint sydd yn eu haros, er eu parotoi i fyned i'r deyrnas nefol. A goronir hwynt â choronau gogoniant, anfarwoldeb, a bywydau annherfynol? Na wneir, ond parotoir hwynt i fyned yno i wasanaethu ereill, a ddarparwyd i dderbyn teyrnasoedd, gorseddau. tywysogaethau, a galluoedd, yr hyn a ymddengys yn ddyeithr i rai o honoch chwi. Os ydych am ei wybod, dywedaf y gwirionedd, a galwch ef yn ddadguddiad neu unrhyw, beth arall a fynoch. Pan yr eloch i fewn i'r deyrnas nefol bydd eich cyrff adgyfodedig genych, eich teuluoedd, a'ch cyfeillion, wedi ymgasglu o'ch hamgylch, a chymdeithaswch â hwynt yno, megys yma. Yr ydym yma yn farwol, yno yn anfarwol, dyna'r unig wahaniaeth a fydd. Y mae marwoldeb yn gyffelybiaeth berffaith o gynllun neu arwyddlun y deyrnas nefol. ond yn unig fod un yn farwol, a'r llall yn fywyd mewn anfarwoldeb. A ellwch chwi ag sydd a ffermydd eang, eu gweithio a'ch dwylaw eich hunain? Na ellwch, heb gyflogi cynnorthwy. Gofynwch i'r ddynes a theulu o 30 i 40, o dan ei gofal, os gall hi wneuthur yr oll ag sydd yn anghenrheidiol i'w wneyd â'i dwylaw ei hunan? Nis gall ei wneyd heb gael gwasanaeth-ddynion i'w chynnorthwyo. Oddiamgylch i'r ffermwr mawr y mae ei gyfeillion, pa rai sydd yn alluog i gael eiddo, ac i fod yn anymddibynol, ac felly y maent yn ymddibynol ar y dyn a fedr hyfforddi, a chynnyddu o'r elfenau, olud y bywyd hwn, mae yn eu cyflogi, ac yn talu eu cyflog, er ei gynnorthwyo i wneuthur y gwaith anghenrheidiol, i wella pob troedfedd o'i fferm neu etifeddiaeth. Ceir yr un peth yn y byd nefol, yn mhlith teyrnasoedd ein Tad yn y nefoedd.

Ceir miliwnau o drigolion y ddaear yno, ag sydd yn analluog i gael eu coroni â gogoniant, anfarwoldeb, a bywydau annherfynol. Y rhai sydd yn ffyddlon yn gosod eu talentau allan er eu cynnyddu, a dderbyniant eu cynnydd yn ol eu diwydrwydd.

Er hyny, a ddywedwn y bydd pawb yn alluog i ddyfod yn arglwyddi, yn freninoedd, a chael eu coroni â choronau o ogoniant, yn derbyn teyrnasoedd, galluoedd, dyrchafiadau, a gorseddau? Na ddywedwn, o herwydd na fyddant yn fwy galluog i hyny yno, nag ydynt i fwynhau golud mawr yma, nac o'i iawn ddefnyddio (pe yn eu meddiant,) yn y cyflwr marwol hwn, yr hyn yn ddiau a fyddai eu dystryw. Ni fyddant yn gwybod pa beth i wneyd â'r fath olud mawr. Gellwch roddi hyn i lawr yn ddadguddiad, a gosod y brawd George i'w ysgrifenu.

Eled y brodyr hyny i California ag a ewyllysiant, ond dymunaf arnynt i fod yn onest. Y mae genyf un dymuniad arall, sef myned a'r holl rai anonest gyda hwynt, o herwydd nas gallwn gael eu gwared. Er hyny, y mae yn ffaith adnabyddus fod y gwenith a'r efrau i gyd-dyfu hyd y cynhauaf, a'r defaid a'r geifr i fod yn yr un gorlan hyd amser y didoliad. A oes defaid yn myned i California yn ogystal â geifr? Oes. A fydd rhai geifr yn aros yma?

Y mae hyn yn fy arwain at y peth sydd genyf i'w osod ger bron y Gymmanfa, a bydd yn destun godidog i'r brodyr i bregethu arno. Rhoddaf osodiad o flaen y Gymmanfa hon i chwi i benderfynu arno; h. y., i ddewis dyn a'i anfon i California Uchaf, dywedwn, er enghraifft, i sefydliad y brawd Horner, i osod lle er ymgasglu y Saint i'r rhan hono o'r byd. Y mae y brodyr Amasa a Rich eisoes wedi codi baner yn California ddeheuol. Anfonwn hefyd o'r lleoedd hyn ddynion i Oregon, i bregethu yr efengyl, o herwydd bydd llawer o'r rhai a fu yn hela yr eilier eurog, wedi rhedeg i'r tân a chael eu deifio, a bydd yn dda ganddynt gael cyfleustra i adael eu hynfydrwydd, ac ymgynnull etto gyda'r Saint. Sefydlwn le i ymgasglu yno hefyd. Dymunem hefyd anfon dynion i'r Unol Daleithiau, i sefydlu dau neu dri o leoedd er ymgasglu y Saint yno. Yna bydd y Saint o Loegr, Ysgotland, Cymru, a Germany, yn ogystal â'r Saint o blith cenedloedd ereill o'r hen fyd, pa rai sydd a'r anhawsdra mwyaf i gael pedrolfeini, gweddenau, a lluniaeth i groesi y gwastadedd, wedi arbed ychydig sylltau, gallant groesi y dyfroedd i un o'r sefydliadau hyn, lle y byddant o dan nawdd Henuriaid da, a anfonir i gymmeryd gofal o honynt. Y mae genym gystal hawl i fyned i fyw i'r Unol Daleithiau ag un

dyn ag sydd yn byw yno. Dyma y peth sydd genyf i osod gerbron y Cymmanfa i fod yn destun am ychydig o bregethau byrion. Bwriadwn gael sefydliad yn Ohio, ac un arall yn Missouri, er ymgasglu y brodyr ag sydd ar wasgar yn y tiriogaethau hyny yn bresennol, a'r rhai a ddichon ddyfod etto yn yr amser dyfodol.

Yn flaenaf, dymunwn hysbysu y dichon y brodyr a sefydlir yno am ychydig, gael eu fflangellu a'u dyrnu, fel pan y deuant i'r lle hwn, ni fydd eisieu arnynt redeg i California, a gadael eu cludiad yma, dyledus i'r Drysorfa Ymfudol, heb ei dalu. Dymunwn eu gosod i lanhau parddu, nes glanhau y gwenith yn lân oddiwrth yr ûs, ac yna eu rhoddi yn y wyntyll, ac yna trwy y *screen*, cyn y byddont yn barod i ddyfod yma, a'u gosod yn hopran y felin i'w mhalu.

Y brawd Brigham, a ydych chwi yn wir yn credu y cawn ein ffrewyllu yno? Nid oes un perygl o hyny, beth bynag, o herwydd nad ydyw Crist a Belial wedi dyfod yn gyfeillion etto. Nac ofnwn hyna, ond casglwn y bobl yno, a gadawn y canlyniad gydag Arglwydd Dduw Israel, ac ymddiriedwn ynddo Ef i gyfarwyddo yr oll er ein lles.

A bleidleisiwch i gael tri o leoedd ymgasglu yn yr Unol Daleithiau? Y mae genym un yn California, a gallwn sefydlu un arall yn Oregon, er yn newydd, cynllun rhagorol yw. Mi osodais y peth gerbron Franklin D. Richards cyn ei ymadawiad, a dywedodd y gallasai anfon deg cymmaint o Saint yn y ffordd yma na'r hen ffordd. Pan fyddo ffordd New Orleans wedi cauad, gall yr Ymfudiad gael ei gario yn mlaen trwy New York; ac wedi tirio yno am ychydig o sylltau, gallant sicrhau lle ar y gledrffordd, a thirio ar unwaith yn un o'r sefydliadau yn y Taleithiau, lle y cânt eu haddysgu er eu parotoi i fyned yn mlaen yn mhellach ar eu taith.

Danfonir deg i'r lle hwn mor hawdded ag un yn y ffordd arall. Os byddant am wrthgilio, yr ydym am iddynt wneyd hyny yno, ac nid dyfod yr holl ffordd hyd yma i wrthgilio. Yr ydym am iddynt gael digon o brofedigaethau, i'w boddloni hwy a ninnau, pa un a ewyllysiant fod yn Saint ai peidio, cyn y bydd iddynt hwy fyned trwy yr holl ludded, llafur, a chost i ddyfod i'r dyffryn pellenig hwn, ac yna i wrthgilio yma. Yr ydym am iddynt gael cyfle i wrthgilio heb gostio mor ddrud iddynt.

## MARWOLAETH Y PATRIARCH JOHN SMITH.

*(O'r "Deseret News.")*

O'R braidd y dystawa clul y naill berson mawreddog ar ein clustiau, cyn y gelwir arnom i gyhoeddi ymadawiad person galluog ac anrhydeddus arall o'n plith, i osod ei gorff i orphwys am enyd, ac i fyned tu draw i'r llen i siglo dwylaw, ac i gyd lawenhau a'i frodyr Joseph ac Asahel, ac a'i naiaid Joseph a Hyrym, a'r ffyddloniaid o bob oes fynedol.

Bu farw yn ei gartref yn y ddinas hon, am ddeg mynyd wedi unarddeg o'r gloch, ar y 23ain o Fai, John Smith, Patriarch Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, wedi mis o nychdod caled.

Ganwyd y Tad Smith yn Derryfield (yn awr Manchester), Swydd Rochingham, Hampshire newydd, ar y 14eg o Orphenaf, 1781, mabwysiadodd y ffydd, yr hon a gadwodd ei einioes am hir amser mewn defnyddioldeb, ar y 9fed o Ionawr 1832, ac ordeiniwyd ef yn Henuriad, wedi i'r meddygon ei roddi fyny i farw o ddarfodedigaeth ; yr oedd y tywydd mor oer fel y gorfodwyd i dori yr iâ, ac o'r amser hyny cynnyddodd ei nerth a'i iechyd.

Symudodd i Kirtland, Ohio, yn 1833, ac oddiyno i Adam-ondi-Ahman, yn Swydd Daviess, a llywyddodd gangen o'r Eglwys yno, hyd nes ei gyrwyd ef allan gan derfysglu yn 1839, a chyrhaeddodd Illinois ar yr 28ain o Chwefror yn yr un flwyddyn. Sefydlodd yn Green Plains, chwech milltir o Warsaw, lle yr hauodd ŷd, yr amgauodd dyddyn, ac y cyflawnodd lawer o waith caled, ag oedd yn annghyfaddas â'i iechyd a'i oedran, a orfodwyd arno er cynnal ei deulu. Symudodd i Commerce (wedi hyny Nauvoo), yn Mehefin, a phenodwyd iddo lywyddu yr Eglwys yn Iowa, ar y 4ydd o Hydref, ac ar y 12fed symudodd i Swydd Lee i gyflawni cenadiaeth yno.

Symudodd i Macedonia, Swydd Hancock, Illinois, yn Hydref 1843, yn ol ei appwyntiad blaenorol i lywyddu y Saint yn y lle hwnw. Ordeiniwyd ef yn Batriarch yn Ionawr, 1844, ac yn mis Tachwedd o'r un flwyddyn, gyrwyd ef gan y terfysgwyr o Macedonia i Nauvoo, lle y parhaodd i weinyddu bendithion patriarchaidd er llawenydd i filoedd, pryd y gorfodwyd ef drachefn gan ffyrnigrwydd terfysgwyr talaith rydd Illinois, i ym-

adael a'i gartref, ar y 9fed o Chwefror 1846, a chyda ei deulu i groesi y Mississippi, i chwilio am sefydliad heddychlon yn mhlith anwariaid ac anialwch pellenig dyffrynoedd y mynyddoedd.

Wedi treulio gauaf erchyll ar y geulan ddeheuol o'r Mississippi, mewn lle a elwir Winter Quarters, cychwynodd drachefn gyda'i fintai flinedig o ychain, ar y 9fed o Fehefin, 1847, a chyrhaeddodd y lle hwn ar y 23ain o Fedi. Llywyddodd ar yr Eglwys yn y Mynyddoedd hyd Ionawr 1, 1849, pan yr ordeiniwyd ef yn Batriarch ar yr Eglwys, o dan ddwylaw y Llywyddion Brigham Young a Heber C. Kimball.

Symudodd allan o'r Gaer i'w ddinas-ran, yn Chwefror, 1849, a dyma'r unig fan lle cafodd gyfle i wrteithio gardd am ddwy flynedd yn olynol, o'r tair blynedd ar hugain diweddaf.

Yn ychwanegiad i'r amryw, yr effeithiol, a'r dirfawr les i filoedd yn ffordd iachawdwriaeth, gweinyddodd 55600 o Fendithion Patriarchaidd, pa rai a gofnodwyd mewn saith o lyfrau mawrion, wedi eu hysgrifenu yn agos, ac wedi terfynu yr anhawdd ddyledswyddau, o'i dreuliedig brawf gyfiwr daionus, i fyned i sefyllfa o orphwysdra, lle yn foneddol y canlyna ac yr anrhydedda ei weithredoedd ef, ac a barhâ i roddi ei fedrus gynghorion er llwyddiant a dedwyddwch Seion.

*Cyf.* Wm. Sims.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, AWST 12, 1854.

Gair at ein Darllenwyr.—Cynnwysa yr erthygl cyntaf yn y rhifyn hwn dameidiau melys i'r Saint, wedi eu harlwyo gan ein hybarchus Lywydd B. Young, gwledd i'n henaid ni yw ei holl ddysgeidiaeth ef, a'r gred y gwleddwch chwithau arnynt a'n cymhellodd i'w rhoddi o'ch blaen. Myfyrier yn weddigar nes y delo cylla yr enaid i frashau ar ymborth Seion tra yma, os dysgwylir cynnyddiant hyd fywyd diderfyn drwy-

ddynt ar ol myned yno. Mae yr ychydig feddyl-ddrychau a geir gan ein hanwyl Lywydd F. D. Richards yn niwedd y rhifyn hwn, yn deilwng o'u darllen fwy nag unwaith, a phob un glân ei galon a gnoa ei gîl arnynt, ac a wna yn eu hol. Mor felys genym yw profion fel hyn ein bod ni o'r un ysbryd a'n Llywydd yn dysgu y Saint, fel y gwelir wrth gymharu y "Sylwadau" hyn o eiddo ein Llywydd â'r hyn a ysgrifenasom yn y rhifyn blaenorol o'r UDGORN! Mae yr ysbryd yn cymhell, nid y brodyr Seisnig yn unig, ond y Cymru hefyd a wahoddir drwy eu HUDGORN i ymbarotoi i'r ymfudiad, drwy fod wedi gwneyd eu rhan i argyhoeddi y byd, a'u gadael yn ddiesgus, drwy eu bucheddau difrycheulyd; a gwelir nad ystyria ein Llywydd fod neb yn barod, nac a ddylai gael ymfudo, hyd oni fyddo wedi talu ei gyfartalwch at gario y gwaith yn mlaen—na all fyned os gedy idd ei frodyr arosol dalu ei ddyled ef at rent eu capel, y Deml, nac at unrhyw ddyled arosol arall, nac yn enwedig os na fydd wedi talu am y llyfrau a gafodd; eithr beth a feddylid pe gwelid dosparthwr yn cychwyn ei ffordd i Seion ar ol camddefnyddio arian y llyfrau, a gadael y Saint i'w had-dalu drosto? Hyderwn na welir y fath beth yn ein heglwys. Hyderwn hefyd yr edrycha Llywyddion Cynnadleddau a Llywyddion Cangenau, na fyddo ceiniog o arian y llyfrau yn myned i un man, nac at un defnydd amgen nag i'r Swyddfa lle yn unig y perthynant yn onest. Ac etto, galwn sylw at osod arolygwyr ar bob dosparthwyr ar ddiwedd pob chwarter! *Rhag* camsynied, gofaler am wneyd hyn.

---

APPWYNTIADAU.—Appwyntiwyd yr Henuriad Benjamin Jones i Lywyddu Cynnadledd Llanelli, a'r Henuriaid Lewis a D. Davies yn Gynghorwyr, a J. J. Phillips yn ysgrifenydd a phrif ddosparthwr.

---

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG.

[Parhad o dud. 445.]

### DIWEDD SYLWADAU Y LLYWYDD JONES.

BUM yn Llundain yn y Cynghor yn ddiweddar, ac O! na fuasai yr ysbryd oedd yno yn cael ei dywallt *ar led* yn

'nghalonau Saint Dwyreiniol Morganwg. Yr oedd y rhai a ddaethant yno o'r dyffryn, yn llawn cariad a gwres gwaith Duw, yn meddwl mai hanner cysgu mae y Saint yn Babilon. Dynion oeddynt ag oedd wedi arfer *gwneyd pob rhan o'u crefydd*, a chwithig ganddynt oedd gweled neb yn peidio.

Mae cyfnewidiadau ereill yn Seion,—maent yn amcanu am sefydliad newydd yn y Taleithiau,—yn Cincinnatti Ohio, ac yn nghyffiniau St. Louis, a daw y Llywyddion o Seion, i ddarparu yno le i'r rhai a ânt oddiyma yno, fel y cant waith yr haf neu y gauaf, er ennill modd i fyned yn mhellach.

Cofiwch mai darparu am hyny y maent. Ni ddywedwn hyn pe niweidia y cyfraniadau at y Drysorfa Ymfudol; a chyn yr awn yno y mae genym i lanhau ein dwylaw oddiwrth waed ein cyd-ddynion, drwy eu rhybuddio a thystiolaethu iddynt yr hyn a wyddom.

Bydd y sefydliad hwn yn feddyginiaeth rhag i ddynion wrthgilio oddiamgylch St. Louis, a rhedeg i'r Taleithiau i weithio, &c. Cânt gyfle i gael rhagor yno atynt, a byddant barod i weithio eu ffordd i Seion, ar y gledr-ffordd a wneir i'r dyffryn, pan y caffont gyfle.

Mae llawer ffordd gan yr Arglwydd i ddwyn oddiamgylch yr ymgasgliad, a pharotoi lle dedwydd i'w blant,, ond iddynt wneyd iawn ddefnydd o'i egwyddorion.

Ein hufydd-dod, gostyngeiddrwydd, a'n hawydd i iawn ddefnyddio yr egwyddor o ewyllys rydd, a'n corona yn yr amser a ddaw Bendith yr Arglwydd a fyddo ar yr hyn a lefarwyd, i'ch dwyn i iawn ystyriaeth o'i bwysfawrogrwydd, yw dymuniad eich hanwyl Frawd, a'ch ufydd was yn Nghrist. Amen.

Terfynwyd trwy weddi gan yr Henuriad Thomas Jones o Gaerfyrddin.

*Hanner awr wedi chwech.*—Dechreuwyd trwy weddi gan T. Morgan, Brycheiniog. Canodd y côr.

Y Llywydd—Gwelaf nad ydwyf wedi eich dychrynu i ormodedd yn y cyfarfod prydnawnol i ddyfod ynghyd yn yr hwyr yma etto.

Mae tueddiad yn y natur ddynol i osod ei *hunan* yn safon i bob peth. Pan oeddem gyda'r gwahanol enwadau, meddyliem ein bod *ni* yn iawn, a phawb arall yn gyfeiliornus. Nid mewn

crefydd yn unig mae y duedd hon, ond mewn masnach hefyd. Mae y duedd yn naturiol iawn i'r natur ddynol. Dywed yr hen ddiareb, "Yn *mhob* gwlad y magir y *glew*;" a rhy barod ydym yn aml i ymollwng i'r tueddiad yna. Mae y Saint yn gwybod gwell na hyny yn awr, ac ymdrechant wneyd ewyllys Duw; ond rhai dynion a gymhwysant air Duw at eu mympwy eu hunain, trwy esbonio, a gwnant hyny yn safon eu ffydd. Nid felly mae y Saint, hwy a godant eu deheulaw i fyny i gynnal yr Offeiriadaeth sydd yn dysgu geiriau Duw, ac y mae genym i frwydro llawer yn erbyn y duedd hon. Y mae crefyddwyr wrth glywed gair Duw gan y Saint yn rhyfeddu, ac yn meddwl eu hunain yn iawn, ac y mae hyd y nod rai Saint, er yn *gwybod* gwell, yn ymollwng i'r nwyd hon. Ymollwng iddi a'i portha yn fwy nâ ni ein hunain. Os ydych am wybod beth yw, dywed Paul mai yr "hen ddyn" yw, a dylem ei groeshoelio, a gwrandaw ar y dyn newydd. Y mae Ysbryd Duw genym i'n harwain bob un; ein hymdrech fyddo i wrandaw arno. Pan glywsom sôn am y Saint gyntaf, dywedodd yr hen ddyn "twyll yw!" a chadwa gannoedd yn ol etto rhag cael gafael ar ddechreu y ffordd i gael bywyd tragywyddol. Gwyliwn rhagddo, ynte; rhyfelodd yn erbyn arddodiad dwylaw a dawn yr Ysbryd Glân. Er ys blwyddyn a hanner yn ol, wedi i chwi gael tamaid arall, bu yn gryf iawn yn ein herbyn, er ein bod wedi cael blas ar y grefydd ogoneddus hon, yr hyn sydd yn brawf i ni o ddwyfoldeb y drefn, gan mai rhyfela a wna yn ein herbyn, cyhyd ag y gall gael ymborth i fyw arno, croeshoeliwn ef. Trefn yw hon a rodda i ni Ysbryd Duw, a gobaith i deyrnasu mewn bywyd tragywyddol, ac i etifeddu gorseddau, llywodraethau, ac i gynnyddu ac eppilio yn dragywyddol; ac fel y dilyna y naill egwyddor o honi y llall, y parhâ yr hen ddyn i'w gwrthwynebu. Os methu wnawn a dyoddef y pethau sydd yma, heb allu a chroeshoelio yr hen ddyn, pa fodd y byddwn fyw yn y nefoedd, yn mhresennoldeb yr Arglwydd a'r angylion santaidd, yn gwrthwynebu pob peth, a'n teimladau yn groes bob amser, o herwydd yr *hen ddyn*. Cyn yr awn byth i'r nefoedd, y mae yn rhaid i ni ei gwneyd o'n *mewn ein hunain.*

Yr wyf yn bwriadu dweyd rhai dirgelion yma heno, ac os crafant rai o honoch, nis gallwn eich cynnorthwyo; a dyfod a wnant, hyd nes yr ymwaghâ y ffynnonell ddihysbydd o

ddoethineb sydd fry, a chyhyd â hyny y bydd yr "hen ddyn" yn ein poeni.

WILLIAM LEWIS, *Ysgrifenydd.*

*(I'w barhau.)*

---

## GALARNAD

*Ar ol Ann Dibra Parry, gwraig Bernard Parry o St. George, yr hon a fu farw yn agos i Kansas, ar lan afon Missouri. Claddwyd hi ar yr 20fed o Ebrill, 1854. Hefyd Bernard Parry, yr hwn a fu farw ar y 4ydd o Fai, yn agos i'r un lle.*

MAE Duw y Duwiau yn mesur camrau
A byrion ddyddiau pob rhyw ddyn;
Rhai mewn hen-oed, rhai'n fabanod,—
Mae'n rhoi gollyngdod i bob un:
Rhai fel finnau yn mlodau amser,
Wrth alwad dyner Ner y Ne',—
Gorff ac enaid raid ymado
Y pryd a'r fan a fyno Efe.

Er imi yn glyd rodio gwledydd,
A'm dwylaw 'n rhydd o lawer rhwyd,
Ni threfnwyd terfyn i fy nghorffyn,
I farw yn Nyffryn claerwyn Clwyd.
Na wnewch alaru na hiraethu,—
'Rwyf yn deisyfu er lleshâd;
Daw galwad goleu i chwi ryw foreu
Yn wir i ddod i'r un wlad.

Ni chaf fi, gwyddoch, wel'd mo honoch,
Nes y deloch chwi ryw ddydd,
I'm cyfarfod ar y diwrnod,—
Y fawr ryfeddol farn a fydd;
Yn iach fy mrodyr a'm chwiorydd,—
Gwres a chynnydd gras i chwi;
Ni wyddoch, cofiwch, derfyn bywyd
O fewn y fynyd, fwy nâ mi.

*O'r Gwersyll.* ROBERT HUMPHREYS.

---

# DYFYNIAD O SYLWADAU Y LLYWYDD FRANKLIN D. RICHARDS.

*(Allan o'r "Millenial Star.")*

IAWN ystyriaeth o liosogrwydd a physigrwydd y dyledswyddau a orphwysant arnom, a ffurfia esgusawd ddigonol i'n darllenwyr ac i'n gohebwyr, paham na ddywedasom lawer wrthynt trwy golofnau y *Star*, nac ychwaith mewn atebiad trwy lythyrau i'w gohebiaethau lliosog a dyddorol, hyderwn y bydd yr ystyriaeth uchod yn esgusawd gyffredinol i'r rhai a dybiant ein bod wedi bod yn ddiffygiol yn hyn. Ni theimlwn ychwaith awydd neillduol i wneuthur hyny, o herwydd yr addysgiadau pwysig a gynnwysir yn yr Epistol Cyffredinol; annerchiadau y Llywyddion Young a Kimball o flaen y Gymmanfa, ynghyd a'r cofnodau, yr oll o ba rai yr oeddem yn awyddus i'w cael yn brydlawn o flaen ein darllenwyr, ac annogwn bawb i ddwys ystyriaeth o'r cyfryw. Ni ystyrir un neu ddau darlleniad o honynt yn ddigonol, ond bydded i chwi fyfyrio arnynt, a'u dwys ystyried yn eich calonau; o herwydd effeithia cynghorion a phenderfyniadau y Gymmanfa hono ar gyflwr a gobeithion y Saint dros wyneb yr holl ddaear ; yn neillduol yn eu hymgasgliad, teimlant yn fwy ymddibynol ar eu hymdrechiadau eu hunain, ac ar eu ffydd yn Nuw, nag o'r blaen. Ni ddichon y rhieni a'r aelodau hynaf beunydd gario a magu yr aeloedau ieuengaf o'r teulu, ond gorphwysa y ddyledswydd hon ar y rhai sydd yn nes i'w hoedran, tra yr ymrodda y rhai hynaf at ddyledswyddau mwy dynol a berthyn i deulu Duw. Pwy, ynte, a dderbyniodd nerth gan Dduw i *sefyll?* Pwy a ddysgodd *rodio* o'i flaen yn santaidd a difeius? Pwy a ddichon wahaniaethu ysbrydoedd ac athrawiaethau, a dewis ysbryd a bara y bywyd, allan o ysbryd ac athrawiaeth dynion a chythreuliaid? Neu os yn abl i ddirnad a dewis, pwy a fedr ei archwaethu, ei dreulio, a'i ddarostwng i fywyd ymarferol? O herwydd, cofier, mai yr hwn a ymarfero â'i grefydd oreu, yw y mwyaf yn nheyrnas Dduw. Y mae rhai wedi cyrhaedd y gradd hyny o ddynoliaeth a medrusrwydd yn yr Eglwys, sef Brigham, Heber, a Jedediah, ac ereill a allwn enwi mewn cysylltiad â hwynt er adeiladu y deyrnas—dynion santaidd a chyfiawn yn eu dydd ac yn eu tymhor; eu llafur a gyfrifir iddynt er

iachawdwriaeth eu teuluoedd, y rhai ydynt yn drefnus o flaen yr Arglwydd, hyd y nod yn ol trefn santeiddiaf Duw; dynion ag sydd wedi myned trwy brofedigaethau tanbaid, erlidigaethau a themtasiwnau y dyddiau diweddaf, heb gymmaint ag arogl yr halogedig dân ar eu gwisgoedd; y rhai a dderbyniant ddadguddiadau parhaus er arwain yr Eglwys, eu teuluoedd, a hwynthwy eu hunain. Dyma y rhai ag sydd yn ardderchog wedi cyrhaedd urddas a mawredd y frawdoliaeth hynaf yn yr Eglwys. Dyledswydd neillduol y cyfryw yn bresennol ydyw santeiddio y bobl, dysgu iddynt ddeddfau, ordinhadau, a barnedigaethau yr Hollalluog; a gweinyddu i droseddwyr y gosp am dori y gyfraith, fel y byddo rhagrithwyr yn dychrynu, troseddwyr yn Seion yn ofni, ac felly mae drygioni yn cael ei fwrw ymaith.

Eisoes y mae y goleuni nefol a ddysclaeria o fynydd Seion, yn rhy danbaid i olygon llawer ag sydd yn canlyn o hirbell, gan rodio yn ngoleuni y sêr; ac a gaiff y rhai hyny sydd a'u synwyrau wedi cael eu profi, a'u cael yn abl i archwaethu bwyd cryf, ac i lafurio yn wrol dros Dduw,—a gaiff cynnyddiad y cyfryw eu rhwystro gan y rhai a feddant ond yr enw o fod yn fyw, eithr a hongiant yn bwysau marw? A gaiff eu hysbrydoedd eu gofidio gan waradwydd gwrthyn y rhai a gipiwyd, megys heb ofal ac ystyriaeth o'u rhan eu hunain, a'u cario i fynwes yr Eglwys? A ganiateir i'r grwgnachwyr wasgaru eu dylanwadau gwenwynllyd yn mhlith y bobl? Nid yw yn debygol; ceir gwelliant doeth a chyflawn i hyn yn sefydliad lleoedd newydd er ymgasglu yn y Taleithiau, fel y byddo i'r rhai a fedrant, ddyoddef goleuni y gyfraith nefol, a dderbyniasant ras i redeg heb ddiffygio, ac i rodio heb flino, gydag adnewyddol nerth nes cyrhaeddyd y nod, tra y caiff y rhai sydd o bymtheg i ugain mlynedd ar ol, yn eu ffydd a'u gwybodaeth am Dduw, rodio mewn goleuni cyferbyniol i'w deall, a phrofi eu teilyngdod drwy hyny i dderbyn pethau perffeithiach a berthynant i gyfraith Dduw.

Er y trefniadau hyn, bydd llawer ag oeddent yn arferol o rodio yn ei oleuni, ac yn sylwi ar ei rinweddau tanbeidiawl, yn canlyn y *Seren* yn y dwyrain, hyd nes, fel y bugeiliaid, y cyrhaeddant gyda eu rhoddion yn adgynnull-nod y cyfiawn, lle y gallant, â'u holl galonau, anrhegu Arglwydd y lluoedd â'r

rhoddion hyny a fyddont yn gymmeradwy yn ngolwg yr Anwylyd, ac yn eu tro, mwynhant hwythau y gwych drysorau o fywyd tragywyddol. Mae yn ddiamheuol fod y Saint am wybod pa bryd y dechreuir ymfudo yn ol y drefn newydd. Atebwn, mai mor gynted ag y byddont hwy yn barod i ymroddi eu hunain i hyny; yna bydded diwydrwydd yn mhawb i dalu eu hen ddyled, pa un bynag ai rhenti eu neuadd, goruchwyliaeth llyfrau, neu unrhyw arian ereill sydd ddyledus arnynt, nid oes gwahaniaeth beth a fyddant. Bydded i bob rhwystrau gael eu symud o'r ffordd yn brydlawn, ac na choller yr un cyfleustra er danfon gwybodaeth o'r gwirionedd i'r rhai na chlywsant ef; a cheir yr ymfudiad wrth law mor gynted ag y byddwn yn barod i'w dderbyn mewn ysbryd doethineb a gallu. Yna bydded i bawb fawrhau eu galwedigaethau, a'u gwneyd yn anrhydeddus, o'r lleiaf hyd y mwyaf; fel, pan y byddo pobl Dduw yn cyfodi i fyned ymaith, y bydd eu hymfudiad yn brawf o'u gostyngeiddrwydd, a chywirdeb eu gweithredoedd yn ngolwg pawb; fel eu gadewir yn ddiesgus.

*Cyf.* Wm. Sims.

---

Cymmanfaoedd y Gogledd.—Cynnelir Cymmanfa Sir Fflint, ar y 13eg o Awst; Sir Ddinbych ar yr 20fed; Dyffryn Conwy ar y 27ain, a Sir Feirionydd ar y 30ain o Fedi.

Derbyniadau am Lyfrau o Gorph. 27 hyd Awst 10.—Gorllewin Morganwg, £4; Llauelli, £3 17s 4½c; Caerfyrddin, £1 8s 2c.—*Cangenau Dwyr. Morganwg*—Llanfabon, 3s; Pontypridd, 6s 6c; Aberdâr, 11s; Aberamman, 8s 6c; Hirwain, 9s 6c; Georgetown, 4s 3c.

☞ Gorfodwyd ni i adael hanes Cymmanfaoedd Abertawy, Llanelli, a Chaerfyrddin allan o'r Udgorn hyd yn hyn, ac un o'r achosion o hyny yw, o herwydd na chawsom yr un gair o honynt hyd yn hyn!

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 30.] AWST 26, 1854. [CYF. VII.

### YSBRYD ANGHRIST.

TYBIAETH boblogaidd yw fod pob ysbryd a gyffesa ddyfod Iesu Grist yn y cnawd, o Dduw, a seilir y dyb ar y ffaith o y fod Ioan wedi dweyd fod pob ysbryd a gyffesai gnawdoliaeth Mab Duw yn ei amser ef yn gyfryw; a chan mai y brif nodwedd a ddyry efe o ysbryd Anghrist oedd gwadiad o ddwyfoldeb yr Iesu, meddylir fod y safon hono yn gywir i farnu ysbrydion yn awr. Eithr ceisiwn ddangos gwell nâ'r dybiaeth yna, fel y canlyn:—

Yr oedd crediniaeth yn nwyfoldeb yr Iesu mor anghyffredinol, a'r cyffesiad o hono mor anmhoblogaidd y pryd hyny, ac mor beryglus i'w heinioes, fel na chyffesid hyny gan neb oddieithr eu bod yn *wir* grediniol o hyny, os nad wedi derbyn o Ysbryd Duw mor helaeth nes cael *prawf* fod Iesu yn Fab Duw; canys, dywedir "na ddichon neb ddywedyd yr Arglwydd Iesu ond drwy yr Ysbryd Glân," ac felly yr oedd y perygl o gyffesu yr Iesu yn amgau digonol y pryd hyny i gadw rhagrithwyr o'r Eglwys; tra o'r ochr arall, y mae poblogrwydd yr Eglwys yn y canrifoedd dilynol yn temtio dynion o ddybenion drwg i broffesu eu crediniaeth yn nwyfoldeb yr Iesu, yr hyn a fyddai yn ysbryd Anghrist serch hyny. Ac er na fynem i neb feddwl ein bod yn ammheu cywirdeb y safon a roddai Ioan i'w gydoeswyr ef i farnu ysbryd Anghrist, etto, ni ddeallwn fod y safon hono yn ddigon cywir i ni farnu yr un peth yn awr, o herwydd y gwahaniaeth mawr sydd rhwng yr amgylch-

iadau a'n llywodraethant ni â'r rhai a'u llywodraethent hwynt. Mae y camsynied hwn yn niweidiol i'r graddau yr arweinia ddynion i gredu am danynt eu hunain, neu am ereill, fod eu cyffesiad o ddyfodiad Mab Duw yn y cnawd yn brawf eu bod hwy wedi eu geni o Dduw; yr hyn ni ddichon fod yn wir mewn gwlad lle y mae traddodiadau y tadau a'r ysgrythyrau wedi dysgu hyn i'r werin yn ddiwahan, a lle y mae miloedd o rai a ystyrir yn annuwiol, yn feddwon, lladron, godinebwyr, a phob drwgweithredwyr, yn cyffesu ar yr un pryd fod Iesu yn Fab Duw. Ni chredir fod y cablwr wedi ei eni o Dduw yn yr ystyr a ddywedai Ioan, tra yr halogir ei enau wrth gymmeryd enw yr Iesu yn ofer, etto, cyffesa efe ddyfod Iesu yn y cnawd. Hefyd os yw cyffesiad o'r Iesu yn ddigonol brawf fod y proffeswr wedi eu eni o Dduw, beth a ddywedir am y rhai a feddianir ac a feddianwyd gan y diafol, ac ar yr un pryd yn gwaeddi, "Beth sydd i ni a wnelom â thi, a ddaethost i'n poeni cyn yr amser?" Wele ysbryd yr Anghrist yn cyffesu yma, ac fel y clywsom ninnau droion, ddyfod Mab Duw yn y cnawd; os nad oedd eu cyffesiad hwy o hono yn profi eu bod wedi eu geni o Dduw, nid yw cyffesiad ereill yn brawf digonol o'u dwyfol enedigaeth hwythau, a hyny yw profi ein gosodiad cyntaf.

Dichell o eiddo yr Anghrist ei hun yw hudo i gredu nad Anghrist yw neb ond y rhai a wadant ddyfodiad Mab Duw, a'i ddybenion i'w twyllo i beidio ei adnabod ef yn ei wahanol ddylanwadau ereill.

Deonglir y gair Ang-hrist yn gyfystyr â *gwrth*-Grist, neu groes i Grist, ac, ar briodoldeb y deongliad yna, cyfaddas y gelwir pob ysbryd sydd yn gwrthwynebu cyfraith neu orchymynion Crist yn *Ang*-hrist. A chan fod y neb a wrthwynebo weision Crist yn cael eu hystyried ganddo yn wrthwynebwyr iddo Ef ei hun, y mae mwy o Anghristiau i'w cael, gweler, nag a feddylia y rhai na chredant fod yr un Anghrist ond a wadant ddyfodiad Crist yn y cnawd; a buddiol rhag twyllo ein hunain ganddo, fyddai cael iawn ddealltwriaeth o dueddiadau ysbryd yr Anghrist yn ein hoes a'n gwlad ni. O'r holl ddylanwadau a achosa Anghrist ar blant dynion yn y byd, ni ddichon ei fod mor niweidiol iddynt eu hunain, nac i ereill, ag yw ei ddylanwadau ar y rhai sydd neu a fuont yn Eglwys Dduw,—y rhai a fwynhasant o Ysbryd Crist; a pho fwyaf o hwnw a gawsent

os ufyddhant i'r Anghrist, mwyaf niweidiol y'nt, fel y dywed Crist, "Os y goleuni sydd ynoch a dry yn dywyllwch, pa faint fydd y tywyllwch hwnw? Nid yw cydwybodolrwydd dyn, hyd y nod yn Eglwys Dduw, yn ddigonol brawf nad Anghrist a'i harweinia, mwy nag yw cydwybodolrwydd y gau grefyddwr yn profi y gau yn wir; yr hyn a brawf yr anghen o iawn ddealltwriaeth o ddylanwad Anghrist hyd y nod *yn* yr Eglwys.

Heb olrhain yn awr, i'r lluoedd profion a feddwn o'r ffaith mai y diafol, neu Lusiffer, yw yr Anghrist a sonia yr ysgrythyrau am dano, haerwn hyny yn awr, a cheir cyfleu etto i brofi hyny, ond odid; ac er mwyn byrdra, crefwn ar y darllenydd ein credu hefyd o barthed i'r Anghrist hwnw mai bôd ysbrydol yw, o sylwedd ysbrydol a lleawl,—un a anwyd o Dduw yn y nefoedd cyn seiliad ein byd bach ni; ïe, a anwyd yn frawd i Iesu Grist ac i ninnau; a'r hwn yn y dechreuad oedd ddibechod, yn feddiannol ar fwy o ddoethineb a gallu na neb arall o "feibion Duw," oddieithr y "Cyntaf-anedig. Y "seren" ddysclaeriaf o "holl sêr y boreu" ond un, sef y "Seren foreu eglur"—ail "fab y wawr" y priodol elwir Lusiffer neu yr Anghrist; ac yn y nef gyda ei Dad a'i "frawd henaf" yr oedd ei gartrefle am oesoedd. "Pa bryd y dechreuodd Satan, ac o ba le y daeth ef," &c., sydd gwestiynau a ddrysant y byd am eu hatebion, eithr drwy Ysbryd Crist amlygir i ni ddechreuad Anghrist, ynghyd a llawer o'i gynllwynion a'i ddichellion. Nid oedd yr achos dechreuol o syrthiad y bôd dysclaer hwn amgen na meiddio gwrthwynebu cynllun ei Dad a'i Frawd henaf, y rhai oedd ei gyfreithlon Lywyddion ef; a'r pechod peryglus o geisio ei ffordd ei hun yn hytrach nâ'r eiddynt hwy a'i halltudiodd ef allan o'r nefoedd, "A'r pryd hyny yr aeth efe yn Satan," ebe dadguddiad. Ni ymddangosodd Lusiffer ond gwahaniaeth barn ar y dechreu ynghylch y cynllun goreu i achub dyn, yr hyn pe cymmerasai ei argyhoeddi yn ostyngedig, ni fuasai amgen na ddangos ei anwybodaeth, debygwn, a thebyg iddo gael amser ac ymbiliau taerion i'w argyhoeddi; eithr yntau a falchiodd o herwydd gweled ereill yn ymdrechu gydag ef—a'u diystyrodd, ac a elai yn fwy ystyfnig yn ei bwnc, nes y digiodd wrth ei Lywyddion, ac yna efe a geisiodd godi plaid ddigon lliosog i ddial arnynt. Y ffordd gyfrwysaf a gymmerodd i hyny oedd, i godi tosturi mewn ereill tuag ato; un mor ddoeth

—mor uchel a chyfiawn ag ef yn cael ei iselhau, ac yntau yn cynnyg gwneyd cynllun i achub pawb yn ddiwahan, tra ei wrthwynebwyr mor anghyfiawn ac annhrugarog â gwneyd cynllun i achub yr edifeiriol yn unig, a'u bod yn bwriadu cospi yn dost y pechadur truan nad edifarhauai a gwneyd fel y ceisient hwy. Rhyfedd mor hyawdl y darlithiau dros ei system a'i ddoethineb ei hunan—syndod mor drugarog a duwiolfrydig oedd efe, ac mor annhrugarog yr oedd ei Dad a'i Frawd! Efe oedd ar y ffordd gywir, bid siwr—trugaredd yr oedd efe yn ei bleidio, ac amddiffyn cyfiawnder yr oedd. Ac y mae y ffaith o'i fod wedi proselytio un o bob tri o holl feibion Duw i'w ganlyn ef, yn profi ei fod yn gyfrwys, ac yn fedrus a diwyd: nid bodau anwybodus yn unig a dwyllai, ac nid ydym yn barod i addef eu bod hwythau yn fwriadol i ryfela yn erbyn eu Tad, eithr wrth godi trueni ynddynt drosto ef, dechreuasant gydymdeimlo ag ef, ac i'r grddau y credent ei gamgyhuddiadau ef yn erbyn eu Tad a'u Brawd henaf, hudid hwythau i gyd-weled, yr hyn a barai iddynt hwythau golli Ysbryd y goleuni yn raddol, ac i'r graddau y coelient ystoriau yr Anghrist. A thra thebyg y defnyddiau y ffaith o'i fod ef wedi bod yn eu cyfeillach yn fwy nag ereill, ei fod ef yn deall eu holl ddirgelion a'u bwriadau, gyda deheurwydd i beri i'w hudolion gredu fod ynddynt ryw anghyfiawnder gwrthun na wyddai y lleill am dano, eithr os dilynent hwy ef, y byddai efe yn *champion* rhyddid iddynt, ac y caffai pawb ei ffordd ei hun, &c.

Hawdd y gellir beio ysbrydion mor ddeallus am gymmeryd eu hudo i gredu y fath un â Lusiffer; eithr pan ystyrier y fath ddylanwad oedd ganddo, a'r gred a greodd, mai pleidio cyfiawnder yr oedd—na ddangosodd efe ei hunan yn ei liw priodol iddynt, hawddach yw cymmeryd rhybudd i beidio gwrando arno ef yn gyffelyb yn awr. Wrth roddi clust o wrandawiad arno y collasant hwy, canys arddangosai hyny ddrwg-dybiaeth, neu o leiaf ammheuaeth ei fod ef yn dweyd y gwir, a thrwy wrando arno mewn dim a ddywedai y digiasent hwy Ysbryd y gwirionedd oddiwrthynt, ac yna gogwyddasant eu barn o'i blaid ef, ac yn erbyn eu Tad a'i Unig-anedig. Ai tybied nad oeddynt hwy yn gydwybodol? Ar y dechreu credwn eu bod, eithr wedi gweled dyben eu blaenor i ryfela, dichon eu bod, neu lawer o honynt, yn rhy falch i blygu, ac y mynent weled y

gwaethaf. Lle y dylasent hwy ddeall, mai, os oedd ef yn cael cam, nad gwerin lywodraeth oedd yno, ac felly nad hwy, ond eu Llywyddion oedd i farnu y mater, a'i fod yntau yn dangos gwrthryfel yn eglur wrth ddweyd ei gwyn lle nad allasai wneyd un daioni, ond drwg dieithriad i bawb ; ei fod wrth godi plaid yn dangos llid a dial, yr hyn, pe dim arall, a ddylasai eu rhybuddio i beidio rhoddi clust o wrandawiad i un gair a ddywedai—eu bod yn rhyfygu, ac mewn perygl drwy wrando o gydymdeimlo, yr hyn a fagai gydsyniad cyfartal i wrthryfel. Eithr amlwg yw i ni mai y pechod o eistedd mewn barn ar, a gwrthryfela yn erbyn ei Lywyddion oedd prif nodwedd Anghrist—ei bechod dechreuol—ffynnonell darddiol pob drwg arall a fu erioed—y llithrigfa i'r Jehenah—porth uffern, a'r wers olaf a gwaethaf a ddysgódd nac a ddysga yr Anghrist i greadur yn yr ysbryd nac yn y corff. Gwrthwynebu yr Offeiriadaeth a'i gyrodd ef a'i ganlynwyr "i dywyllwch o dan gadwynau hyd farn y dydd mawr;" ac i'r graddau ag yr ufyddheir i'r un ysbryd yr arweinia i'r un dynghed yn ol graddau gwybodaeth a manteision i ddeall gwell. Wedi colli yr amcan a chael ei alltudio o'r nef, digon tebyg y cysurai ei bleidwyr drwy ddweyd mai eu braint oedd cael gwared o le mor ddrwg â'r nefoedd, ac oddiwrth ormeswyr mor anghyfiawn â'r rhai a lywyddai yno ; a rhyfedd fel y bygythiai i ymddial,—y mynai efe gael eu penau i lawr,—y dangosai efe nad yr Iesu, ond efe ei hun, oedd y teilwng Iachawdwr i fod, ac y mynai efe y deyrnas a'r llywodraeth ar y ddaear, &c. Ac ni synem chwaith os na thwyllai ei flaenoriaid i ddysgwyl llwyddiant a swyddau uchel o tan ei goron ef.

Onid gwers fuddiol i bob un o blant Duw ei dysgu yn awr yw ufydd-dod i Offeiriadaeth Crist, gan fod pob gwrthryfel yn ei herbyn yn tarddu oddiwrth Anghrist? Eglur yw yr arweinia y neb a'i gwna at yr Anghrist ei hunan. Nid yw cydwybodolrwydd y cyfryw, mai pleidio cyfiawnder yw eu dyben, yn esgus mwy digonol nag yr oedd cydwybodolrwydd yr ysbrydoedd a bleidiasant yr Anghrist yn eu gwaredu hwythau oddiwrth ei gospedigaeth yntau. I'r rhai a ddeallant mai ufydd-dod i'r Offeiriadaeth a'u ceidw i fywyd tragywyddol, dylai fod yn hunan-eglur o'r ochr arall mai gwrthryfel yn ei herbyn a'i gyra hwynt i'r farwolaeth dragywyddol. Dichon dyn syrthio

i aml bwll a chyfodi, a chael ei lithro i bechodau gwarthus ac edifarhau, eithr ni wyddom am bechod anhawddach i gael gwared o'i ddylanwad, na gwaeth nag yw gwrthryfel yn erbyn yr Offeiriadaeth. Hwn yw boncyff dechreuol y pechod anfaddeuol; gan mai am y pechod hwn y rhoddwyd y drydydd ran o angylion y nef dan ddedfryd o gospedigaeth dragywyddol, amlwg yw mai pechod anfaddeuol yw; a bydd y gosp am dano yn gyferbyniol i'r graddau o oleuni a feddai y troseddwr cyn hyny; a bydd dylanwad y rhywogaeth anghristaidd hyn arno yn gyfystyr o ran ei rym i hyny, a dengys ei hun yn ei ddigofaint a'i elyniaeth, nid at y rhai *gwaethaf*, ond at y rhai *goreu*, eithr a gam-fernir ganddo ef yn waethaf, o herwydd bydd efe fel dyn yn y clefyd melyn, am y bydd ei lygaid ei hun yn felyn, dywedir yr ymddengys pawb yn felyn iddo ef ond ei hunan, a rhyfedda pa fodd y gall neb ei ammheu yn yr hyn sydd mor eglur iddo ef. Felly ei dad anghristaidd a ryfeddai na fuasai y ddwy ran o'r tair ereill yn y nef yn cydweled ag ef mewn anghyfiawnder mor amlwg ag â wnelai Michael a'i lu ag ef! Dywedir mai tywallt gwaed gwirion yw y pechod yn erbyn yr Ysbryd Glân, beth ond awydd i dywallt gwaed, pe y gallasai, oedd dyben yr Anghrist yn codi rhyfel yn y nef? Onid yr un ysbryd ag a ddiorseddai Dduw, a wnelai hyny ar gost pob peth, a phe gallasai ladd yr oll, diau y gwnaethai hyny; felly y gwelir syched am waed y rhai a feddant yr Offeiriadaeth yn y rhai a lyngcant yr ysbryd hunan-gyfiawn hwn, yn eu digofaint atynt, eu cam-gyhuddiadau yn eu herbyn, a'u hawydd i godi plaid drwy dduo cymmeriadau eu gwell, a cheisio drwy hyny, Lusiffer debyg, i ennill dylanwad o'u plaid eu hunain, a'u hunig ddyben yw, gwadant a fynont, boddio ysbryd dialgar, costied a gostio, ac i'r graddau y byddo, sycheda am waed gwirion; nid gwaed yr euog na'r drwg-ddyn a'i boddia ef, eithr po dduwiolaf yr aberth melysaf oll i'w enau ef fydd dyferiad o waed ei galon. Ha wyr! ai llefaru ar antur yr ydym? A feddylir ein bod yn paentio llun creadur dychymygol? Sicr ydym o'r hyn a ddywedwn, onid yw y lloriau a welsom wedi eu rhyddio â gwaed merthyron duwiol—onid yw archollion gwaedlyd a chelaneddau ei laddedigion ef o flaen llygaid ein meddwl, tra y ceisiwn ddynoethi peth o ysgelerdra yr ysbryd hwn! Ydyw, mae y drych fyth o flaen ein llygaid, lle y gwelwn etto fel y gwelsom, y rhai

mwyaf rhith-grefyddol a hunan-gyfiawn yn blaenori miloedd o bethau tebycach i Anghrist ei hun nag i ddynion, yn rhincian dannedd, ac yn ymgynddeiriogi am gael gwaed calon y dynion goreu a feddai ein byd! Ai tybied y gallwn gamsynied yr ysbryd hwn ar ol yr holl enghreifftiau hynod a welsom? O na, diolch i'r Duw a wrthwyneba efe, nid ydym ni heb adnabod ei ddichellion ef. Do, gwelsom lofruddio ein Prophwyd, tra â gwynebau hirion bloeddient yn uchel mai ymofyn cyfiawnder yn unig yr oeddent hwy, ac nid gwrthryfela yn erbyn yr Offeiriadaeth. O na, meddent, nid ydym yn awgrymu dim yn erbyn yr Eglwys, ond yn erbyn y cam a wneir â'r Eglwys. Bid siwr, eu bod hwy yn gymmaint amddiffynwyr i'r Eglwys ag oedd eu tad, sef yr Anghrist, yn bleidiwr i'r nefoedd tra yn gwrthryfela yn erbyn ei hawdurdodau goruchaf. Ond pwy yn ei bwyll byth a'i coeliai?

Un o brif nodau Anghrist yw ei broffes, nad yn erbyn yr Offeiriadaeth, eithr mai yn erbyn *personau* yr ymladda efe, a hyny, nid o herwydd eu daioni bid siwr, os coelir ef. Felly y deallir nodwedd eu tad yn ei blant yn awr, yn fwy duwiol frydig, ac yn meddu mwy o Ysbryd Duw nag erioed, meddant, tra yn gweled eu llywydd yn rhy annuwiol i fod yn yr Eglwys, chwaethach yn llywyddu—gwelant eu hunain yn addasach i'r swydd o lawer. Etto ni wrthryfelant yn erbyn yr Offeiriadaeth er dim, eithr proffesant drueni mawr fod y fath fodau yn gwarthruddo yr Eglwys, &c. O, adwaenom, ni a adwaenom ei ystranciau yn burion, heblaw yr hanesion a ddarllenwn yn yr ysgrythyrau am ei ddichellion hyn drwy yr oesau mynedol, y mae profiadau o'r hyn a welsom yn yr Eglwys hon yn profi yn ddiammheuol mai *ffaeleddau personau* yw prif faniar ryfelawg Anghrist yr oes hon. Pa ddyn gwell yn ei oes na'n diweddar Brophwyd duwiol, a'n Patriarch, etto pa ddynion er sefydliad y byd, oddieithr eu Mheistr ei hun, a fuont y fath graig-rwystr a maen tramgwydd i ragrithwyr coel grefyddol? Onid oedd rhywrai beunyddiol yn estyn eu bysedd at eu ffaeleddau? Ac etto, oni churodd pob un ei ymenydd allan a ymgynnygiodd symmud y maen tramgwydd hwn? Do, ac aethant oll yn eu tro yn ysglyfaeth i'r Anghrist a'u harwainiai, a phrofasant mai rhith oedd eu proffes fawr i gyd.

Rhybuddied hyn oll ni i ofalu bod yn gyflawn o Ysbryd gos-

tyngedig Crist, fel na ymchwyddir ni gan yr Anghrist, i ryfela yn erbyn yr Offeiriadaeth.

Y GOLYGYDD.

---

## NEWYDDION DIWEDDAR O WERSYLL Y SAINT.

*Kansas, Mehefin*, 13, 1854.

ANWYL RIAINT,—Dichon fod amryw chwedlau anwireddus yn cael eu taenu am yr Ymfudiad presennol; felly, fel y byddo eich meddyliau yn dawel, cymmeraf fy ysgrifell i'ch hysbysu ychydig o'm helynt. * * * *

Yr ydym yn gwersyllu yn bresenol ar ran o'r gwastadedd a fwriadwn deithio drostynt, yn agos i sefydliad a elwir Westport. Dywedaf na fuom erioed mor ddedwydd, ac am y daith hon, pleser-daith ydyw hyd yma. Y mae Sarah a minnau a'r plant yn mwynhau gwell iechyd nag erioed. Y mae pawb yn y gwersyll yn mwynhau iechyd da, ac yn dra chysurus gyda'n gilydd. Y mae John a David Nicholas a'u tad, Joseph a Ruth Evans a'u plentyn, James Lewis a Betsy, Wm. Williams o'r Felinfoel a'i ferch, a David Lewis, Penbrey, a'i wraig, oll yn iach a chysurus, ac y mae Mrs. White wedi myned yn ferch ieuanc yn ein plith. Blin genyf yw eich hysbysu fod Henry Davies, Cook-shop, Caerfyrddin, a'i wraig wedi marw.

Clywsoch lawer am ymddygiad yr Indiaid tuag at y teithwyr, eu bod yn lladd a bwyta y Saint, ynghyd ac ereill sydd yn teithio dros y gwastadedd hyn ; yr wyf wedi bod yn eu plith amryw weithiau, ac y mae yn dda genyf allu dweyd am danynt na chanfyddais erioed bobl mor ddiniwed ag yw yr Indiaid.

Gobeithiaf y bydd i'r llinellau hyn i'ch cael i gyd yn iach, ac y gwnewch brysuro i ddyfod ar ein hol. Fy nghofion at Lewis y Saddler, David Bowen, Wm. Thomas Penbrey, a'r Saint yn Llanelly. Hyderaf fod llawer o drigolion Llanelli wedi ufyddhau i'r efengyl cyn hyn, trwy ddyfod yn Saint.

Mi a derfynaf yn awr, ond carwn i chwi gofio ein bod ni, yn nghyd a phawb sydd yn y gwersyll yma, yn ddedwydd, yn gysurus, ac yn iach.

Ydwyf yr eiddoch yn garedig,

R. G. EVANS.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

DYDD SADWRN, AWST 26, 1854.

Ymweliad y Llywydd D. Spencer a Chymru.—Mae y gwaith dwyfol ar ei gynnydd yn y parthau hyn; cawsom y pleser, ynghyd a'n parchus Lywydd Spencer, o ymgyfarfod â thorf liosog o Saint, a thrigolion serchus Pontytypridd wrth y "Gareg Siglo," ar Sul y 13eg o'r mis hwn. Er fod y tywydd wedi troi yn fradwrus, cafwyd gwrandawiad parchus dieithriad trwy y dydd, a chafwyd hwylusdod da i draddodi y genadwri ddwyfol gan amrywiol o Henuriaid cartrefol a phellenig. Cafwyd caredigrwydd hir-gofus gan y Saint siriol yno, trwy eu haelioni i ddieithriaid. Hyderwn fod mawr les wedi cael ei wneuthur y tro hwn oddiar ben y 'gareg siglo;' o leiaf, cafwyd ei hadleisiadau hi o blaid gwirionedd, a gogwyddai ei phen o dan wadnau traed gweision Duw, fel i arwyddo ei llawenydd o fod Duw wedi danfon etto genadwri i'n gwlad, a bod y 'gareg siglo' yn cael yr anrhydedd o fod yn bwlpud i'w thraddodi. Wedi y cyfarfod dau o'r gloch, bedyddiwyd tri, a chafwyd gwrandawiad astud ar lán y dwfr; ac yn yr hwyr hefyd yn Trefforest, mwynheid helaethrwydd o Ysbryd yr Arglwydd gan y Saint, a sobrwydd gan yr oll.

Dydd Llun cyfarfu y Llywydd Spencer a ninnau â lloned Neuadd y Cwmbach, o bobl siriol yn cadw "Cariad Wledd," a mawr y llawenydd oedd genym o weled drwy eu gwedd-eidd-dra a'u gwynebau serchus, nad balchder na gwagedd, ond mai *cariad* calon at wirionedd oedd eu gwledda, a melys gyd-wledda a gawsom ar ddanteithion gwirioneddau y nef, a hyfryd beroriaeth a chaniadau Seion.

Mawrth, yn Aberavon, cawsom Neuadd yr Odyddion yn orlawn o wrandawwyr, hynod o foneddigaidd ar ddarlith, am awr a hanner, yn profi pwy yw Anghrist, ei enedigaeth, ei achau,

hynodion ei gymmeriad, rhyfelgarwch ei einioes, ei garchariad, ei ryddhâd, ei farwolaeth a'i gladdedigaeth olaf, &c. Ar ol hyny, cafwyd sylwadau dyddorol yn Saesnig gan y Llywydd Spencer, ac ymddangosai pawb fel pe wedi eu llwyr foddloni; cawsom y pleser hefyd o gyfeillach amryw frodyr Llywyddol ar y Gynnadledd, a hen gyfoedion yn y gwaith gogoneddus hwn. Boreu dranoeth dilynid ni gan rai a ddewisient i ni eu bedyddio, eithr ereill alwadau a'n gorfodent i roddi y fraint hono i ereill, ac i ymadael gyda y boreu gerbyd i Abertawy. Wedi treulio amser hyfryd yno, aethom dranoeth i Lanelli, lle yr oedd dysgwyliad am danom gan y Saint, a llawenydd gan yr oll ein gweled a'n clywed. Fel, ar ol cylchdro byr fel yna, y mae yn llawenydd genym fod ein Llywydd hynaws o'r un feddwl â ni yn mhob peth, ac yn gallu cyd-lawenhau yn llwyddiant achos Duw, ac yn ffyddlondeb a diwydrwydd y Saint i rybuddio y byd, i ymryddhau o bob dyledion, ac i wneuthur pob darpariadau ereill a allant erbyn amser yr ymfudiad. Yn y Dref hon y Sul hefyd, ymgrynhodd y cangenau cylchynol, ac fel calon un gwr gellid credu eu bod yn gwledda ar bob dysgeidiaeth a gawsant, ac mewn cariad, cyd-ymgymunodd cannoedd; ac ymgrynhodd braidd loned y Neuadd yn yr hwyr, i gael clywed, Pwy, a pha fath un yw Anghrist! ac hefyd i glywed darlith ddyddorol y Llywydd Spencer yn Saesnig yn olaf, ac hyderir y bydd ei addysgiadau gwerthfawr, yn enwedig yn erbyn athrodi ac ysbryd cyhuddiadol, yn cael eu priodol effaith, sef i alltudio y fath anghristiaeth allan o Eglwys Crist ar frys.

*Sir Fynwy.*—Ceir newyddion cysurol am lwyddiant yr efengyl gan y Llywydd Giles ac ereill, a chryn ymdrech i ddosparhu traethodau.

*Sir Gaerfyrddin.*—Gwneir ymdrech adnewyddol gan y brodyr ynghyd a'r gwirfoddiaid a aethant i'r Gynnadledd hon yn ddiweddar, a dysgwylir cynhauaf helaeth oddiwrth eu llafur, sef llu o eneidiau i addoli Duw, a chynnifer o berlau yn nghoron yr Iesu yn ychwanegol. Ffyddlondeb! wrol filwyr yn myddin yr Eneiniog, a grymusach weithredoedd gwir ffydd a faluria gestyll y bradwr, ac a ddiorsedda yr arch elyn cyn hir. Diwydrwydd! a fyddo yn brif nodwedd ein cymmeriad—yn ffaith i brofi nad oes ond byr amser i rybuddio, ac y fod dydd y dïal

wrth y drws. Uchel floeddier, ynte, gadfridogion byddin Iesu —yn onest rhybuddier ddeillion pob bro gan weledyddion y dydd, fel eu hachuber.

*Meirionydd.*—Cysurir ni trwy lythyrau y Llywydd J. Davies o'r Gynnadledd hon yn ddiweddar, yn hysbysu diwydrwydd y swyddogion a'r gobeithion a fedd am lwyddiant. Y mae yno amryw wirfoddoliaid ffyddlon yn ei gynnorthwyo, a mawr anghen am ychwaneg. Bu yr Henuriad Isaac Rees yn ddiwyd iawn yn Llanidloes, a phleser yw clywed ei fod wedi dechreu bedyddio yno, a chanddo addewidion am ychwaneg yn fuan. Mae y brodyr H. Parry, Ajax, a Lewis hefyd yn brysur yn hau yr hâd da yn y dolydd breision hyny, a gweddiwn ar i wlith y nef ei wlychu, fel yr egino yn fuan, ac y caffo y brodyr hynaws ag ydynt yn hau mewn dagrau yn awr, yn fuan ddyfod mewn gorfoledd gan gludo eu hysgubau i'r ysgubor, dan ganu caniadau Seion hoff. Dysgwyliwn glywed ychwaneg o newyddion da oddiyno cyn hir.

*Gogleda.*—Drwy lythyrau diweddar oddiwrth ein hanwyl Gynghorydd Daniels, y Bugail Parry, R. Roberts, &c., ceir tystiolaethau cyd gordiol am lwyddiant gwaith Duw yno, er gwaethaf pob gwrthwynebydd; ac megys yr ymgrafanga gwraidd y dderwen ddyfnach daear po ffyrnicaf yr ysgydwa y corwynt ei frig, felly y Saint a ymglymant yn dynach am eu crefydd a'u Duw po erchylla yr ymgeisia pob uffernol chwâ eu chwythu ymaith—gwyddant mai yn yr undeb y mae eu bywyd. Bedyddir yma a thraw, meddir, a gwellhâ yr argoelion, mwynha y Saint ddoniau yr efengyl yn nerthol mewn manau, ac y mae galwadau taer am gynnorthwy i bregethu mewn amryw fanau nad oes neb i'w hanfon yno. Mae galwad daer am Lywyddion mewn manau! Frodyr y deau yma, pwy a aiff etto i'r maes tua Siroedd Môn ac Arfon? A oes rhywun yn ammheu mai dyna y ffordd nesaf i Seion? Yna eled yno i dreio, a thorred y ddadl ei hunan!

*Newyddion o Siam.*—Ni a roddwn yn ein rhifyn nesaf lythyr ein hanwyl Frawd Ludington, yr hwn a grea gydymdeimlad yn mhob calon onest a dynol a'i darllena, a sugna ei gyflwr a'i sefyllfa unigol, amddifad a phellenig, ochenaid i'r nef ar ei ran, ar i'r Duw a'i danfonodd yno ei amddiffyn rhag pob peryglon, a'i nerthu ef i gyflawni ei waith. Y mae

ganddo un cysur yno ag sydd yn peri yr anghysur gwaethaf i ni braidd yn y wlad 'Gristionogol' hon, sef na fydd y Breninoedd a feddant gynnifer cannoedd o wragedd eu hunain, fel Dafydd, Solomon, ac ereill gynt, mor elyniaethus â cheisio ei ladd am bregethu athrawiaeth Abraham, megys y teimla y Zealots yma a honant fod yn blant i Abraham i wneuthur â ni. Esgyned gweddiau y Saint i'r nef at eu Tad beunydd ar ran ei weision a gymmerant, fel hwn, eu heinioes yn eu llaw, ac a droediant gonglau pella y byd i draddodi eu cenadwri. Duw y Ner o'u plaid a fo, ac a ad-dalo i'w cynnorthwywyr ar eu canfed.

*Yr 'Udgorn.'*—Diolchwn i'r brodyr sydd yn cynnyddu rhif eu Hudgorn, gwaith canmoladwy yw; eithr nyni a gawsom beth siom, o herwydd nad oes neb, hyd yn hyn, wedi dwblu eu rhif i'w gymmeryd yn *ddwy*-wythnosol! Hawdd y gellid gwneyd hyn am yr un arian ag a dalent am un pan yn wythnosol; lledaenu ei gylchrediad yw un o ddybenion y cyfnewidiad, ac hyderir yr ymegnia pawb i hyny. Esgusoda rhai eu hunain am eu bod yn awr yn ymdrechu talu yr hen ddyled, ac yna y cynnyddant eu rhifedi, da yw hyn, a gwell hwyr na hwyrach, etto na esgeuluser un cyfleusdra i'w ddosparthu.

Crefwn sylw llywyddion i weled na fyddont yn rheleg i ddyled, eithr ar fod yr arian yn treiglo i'w swyddfa berthynol yn fuan.

---

## ANNERCHIAD Y LLYWYDD SPENCER AT Y SAINT YN NGHYMRU.

A gyfieithiwyd gan Wm. Lewis

Anwyl Frodyr,—Wedi cyrhaedd i'ch plith, yn unol a dymuniad John Jones ac ereill, trwy y Llywydd Richards, i roddi iddynt ail-arholiad o amryw gyhuddiadau a ddygent yn erbyn y Llywydd D. Jones, achubaf y cyfleusdra presennol i gynnyg i chwi ychydig eiriau o'r fath gynghorion a ddadguddia Ysbryd y gwirionedd i mi, y rhai a fydd yn wasanaethyddol i'ch lleshâd a'ch cynnydd yn nheyrnas ein Duw ni. Gan fy mod yn caru eich lles ac yn dymuno eich llwyddiant, caniatewch i mi eich hadgoffa o'ch temtasiwnau a'ch deniadau oddiwrth y llwybrau a arweiniant i fywydau diderfyn,—i gyflawn fwynhad o ba rai y

mae cariad ac undeb yn briodoleddau anhebgorol; heb y cyntaf nis gall yr olaf fodoli, gan mai ei gyfreithlon gydymaith ydyw. Cariad Duw yn nghalonau pobl yw blaenaf, mwyaf, a goreuaf rodd y nef,– blas cyntaf yr hwn a lanwodd ein calonau â mawrygrwydd, ac a hyfryddwch a llesmair llawenydd,—annysgrifedig gorffolaeth o wynfydedigrwydd. A gawn ni y rhai a dderbyniasom flaenffrwyth cariad dwyfol, a'r nef yn ddechreuol eisoes yn ein mynwesau ein hunain, amddifadu ein hunain o'r nefol anedig briodoledd, trwy roddi ffordd i ddylanwad gwrthwynebol gelyn ein heneidiau? a gaiff ein galluoedd ni y rhai a fuom demlau neu breswylfod yr Ysbryd santaidd, eu gwneyd gan bechod a throsedd yn ffau ysbrydion gwrthryfelgar? Frodyr, ni ddylai hyn fod, nid felly y dysgasom ni Grist. Tra ar y naill law y tueddwyd fy nghalon i lawenhau yn fy ymweliadau yn mhlith rhai o honoch, wrth weled naturiol dywalltiadau Ysbryd y nefoedd i glymu eich calonau mewn cariad ac undeb, cefais ar y llaw arall achos i wylo, wrth ganfod hiliogaeth y gelyn, ysbryd gwrthryfel, yn rhy eglur i'w gam-ddeall; oddiwrth ddylanwadau dinystriol yr hwn y dymunwn eich gwaredu, fel oddiwrth hylif llosgfäol mynydd tanllyd. Yr ysbryd a wnai mewn unrhyw achos, o dan unrhyw amgylchiad, eich cynhyrfu i gasâu, ceisio gwallau, a gwrthwynebu unrhyw awdurdod yn nheyrnas Dduw, sydd yn effeithiol wrthryfel yn erbyn *pob* awdurdod, o herwydd anhebgorol unoliaeth yr Offeiriadaeth: ni ddichon y fath ysbryd fod o Dduw, ac ni wna un lleshâd i chwi pe gwrandawech arno holl ddyddiau eich heinioes; eithr i'r gwrthwyneb, ysbryd yr un drwg ydyw, ac arweinia i dywyllwch, ac i ddystryw os dilynir arno; am hyny, annogir chwi gan un a gara eich lleshâd mwyaf, i alltudio o'ch meddyliau, i sathru o dan eich traed, O chwi Saint Duw, bob ysbryd a godo ei ben yn erbyn yr awdurdodau, a wrthryfela yn erbyn yr Offeiriadaeth a osododd Duw i lywyddu arnoch; hunanles, heddwch presennol, a dedwyddwch tragywyddol a'ch cymhello i buro eich calonau oddiwrth bob rhywiogaeth o wrthgiliad, pa un bynag ai mewn enllibo, ceisio gwallau, cyhuddo, neu wrthwynebrwydd cyhoeddus, canys byddwch sicr fod ymwneyd â hyny yn chwythu fflam ynoch, yr hon o'r diwedd a lwyr ysa y babell a'i maga.

Mae yn wir na fydd gau gyhuddiadau byth yn brin am ffug-

iadau ac esgusodion, ac ni fydd y rhai hyny yn erbyn yr Offeiriadaeth, meddant, eithr yn erbyn y person a'i medda; ei bleser yw pentyru, dyfeisio, a lledaenu rhyw ddrygau tybiedig yn yr Offeiriadaeth, yr hwn, fel yr ymblesera i dreiglo yn mlaen, fel pelen o eira dreigliedig, a ymgasgla ddigonol allu a sylwedd i lethu ei threiglwyr i farwolaeth. Dewisa y cyfryw ysbrydion un o oreuon eneiniedig yr Arglwydd yn nôd, ac ato ef yr ergydiant eu cyhuddiadau yn genfigenus, nes yn y diwedd y sychedant am waed gwirion, yr hyn a ddiwedda yn bechod yn erbyn yr Ysbryd Glân.

Frodyr, gwyliwch rhag y dylanwadau rhith-dduwiol a choelgrefyddol yna, eu tuedd yw dinystrio pawb a arweinir ganddynt. Dichon yr esgusoda rhai o honoch eich hunain, o herwydd i Pugh neu rywun gam-arfer y gallu uchel a santaidd a roddwyd iddynt. Ystyriwch fod i chwi nid yn unig oddefiad, eithr fod yn ddyledswydd arnoch i fod yn wyliadwrus, rhag y cam-arweinir chwi. Wrth y cyfryw dywedaf, ni osododd yr Arglwydd chwi yn farnwyr ar eich swyddogion Llywyddol. Ymddibyna eich iachawdwriaeth ar eich ymlyniad wrth eu dysgeidiaeth; gofynir eich cyflawn ymddiried ynddynt, a'ch ufydd-dod parotaf iddynt. Y cyfryw a chwilia am ddrwg, a fradycha ei dybiaeth o fodoldeb drwg, a pharotoa ei galon ddrwg i'w ddychymygu lle nad yw, tra y cuddia gwir gariad, sydd yn dylifo oddifry, liaws o bechodau. Cadwch drefn, canys nis gallwch wella trefn y nefoedd, yr hon a roddwyd er perffeithiad y Saint; pe troseddai eich swyddogion, darparodd y drefn hono feddyginiaeth,—brawdle wirioneddol, yr hon a gymhwysa gamweddau y cyfryw. At hono apeliwch, ac nid byth at dafod enllib na chydymdeimlad cyfaill, brawd, na neb arall. Wrth ddadwreiddio y drwg felly, fe'ch bendithir; wrth waradwyddo neu hau hadau gwrthryfel yn erbyn yr Offeiriadaeth, eich meddyliau a dywyllir, cyfarfyddwch ag anghymmeradwyaeth y nefoedd, ei gŵg a ddua eich awyrgylch, ei tharanau a arteithia eich cydwybod euog, ac ni adnabyddwch heddwch a dedwyddwch

Ni chyfiawnhâ eich cydwybodolrwydd chwi yn hyn, mwy nag y darfu i gydwybodolrwydd Saul santeiddio erlidiad y Saint. Fod ereill yn dweyd y naill beth a'r llall, ni chyfiawnha chwi am ymuno â'r *hue and cry*, fwy nag yr esgusododd poblog-

rwydd y waedd "Ymaith ag Ef, croeshoeliwch Ef," yr Iuddewon rhag cospedigaeth llofruddiaeth. Gyda llawer o ofid yr wyf wedi gwylio llwyddiant yr anghenfil aml-benog hwn mewn rhai parthau o'ch gwlad chwi; anfoddlona yr Arglwydd wrth y rhai a'i llochesa. Gan hyny, frodyr, yn enw yr Arglwydd, deisyfaf arnoch i osod y drwg hwn ymaith o'ch plith, a'r cyfryw a lefaro yn anghyfraithlon am yr Offeiriadaeth, nid oes ganddo ran na chyfran yn y deyrnas, a dylid ei amddifadu o'i breintiau santaidd os parha felly.

Gan fod dyledswydd yn fy ngalw ymaith oddiwrthych etto, dymunaf adael yr anrheg hon gyda chwi. Ystyriwch hi yn ddwys, a chaffer chwi bob amser yn hoff o lefaru daioni, ac nid drwg, am eich brodyr, yn enwedig am yr Offeiriadaeth, y rhai ydynt yn gweinyddu bywyd ac iachawdwriaeth i chwi, ac yn y gwneuthuriad o hyny yr Arglwydd a'ch bendithia yn oludog.

Mewn perthynas ag ail-wrandawiad achos John Jones, ac ereill, a nodwyd yn flaenorol, dyledus yw i'r Llywydd D. Jones, a phawb o honoch, glywed genyf mai wedi gwrandawiad amyneddgar am lawer o oriau, o'r oll a allasai, neu a wnaeth ei gyhuddwyr, racanu yn ei erbyn, a dangos dymuniad awyddus i'w euogi, da yw genyf allu dweyd iddynt *lwyr* fethu a phrofi unrhyw gyhuddiad, na throsedd ynddo o un gyfraith i Dduw nac i ddyn; eithr drwy yr oll, ymddengys ymddygiad yr Henuriad D. Jones yn foddhaol iawn i mi ac yn ngolwg yr Arglwydd; etto dynion drwg-dybus, wedi eu dallu gan genfigen, a'i cam-gyhuddasant ef! Dywedaf yn mhellach wrth y Saint, pe buasai cymmaint diwydrwydd yn mhawb i ddwyn ei gynghorion i weithrediad, ag a amlygwyd gan rai i'w gwrthwynebu, buasai gwaith Duw yn lawer mwy llwyddiannus yn eich plith. Yr wyf yn hollol gymmeradwyo penderfyniadau y Llywydd Jones; edifeirwch un o'r gwrthwynebwyr a ennillodd iddo ganiatâd i adferyd trwy fedydd. Teimlaf i ddiolch i'r Arglwydd dros y Llywydd D. Jones, er ei fod yn amgylchynedig gan brofedigaethau; Ysbryd da a'i arweiniodd ar hyd ffyrdd gwirionedd a chyfiawnder, a theilwng yw o ymddiried Saint ei ofal; ymchwydda ei galon drostynt am eu bendithio, a gwneir ef yn fendith mewn cyssylltiad a'i Gynghorwyr teilwng,—gweision anfonedig Duw o Seion, i bawb a'u bendithio, ac a fendithiont eu hunain trwy ufydd-dod iddynt.

Yn mhellach, cyn y gadawaf chwi, caniatewch i mi alw eich sylw at y dyledswyddau pwysig a orphwysant arnoch, fel Saint y Goruchaf, yn yr amseroedd daroganus hyn. Mae y ddedfryd a gyhoeddwyd ar Babilon yn cael ei thywallt allan o phïolau digofaint yr Hollalluog. Seion yw eich unig noddfa, ac y mae y ffordd yn barod i chwi, a'r gair i bawb yw, "i'ch pebyll, O Israel." Am hyny, byddwch chwithau barod. Ymdrechwch dalu pob dyledion i'r Eglwys, am lyfrau, y trysorfeydd, neu y Deml, yn ogystal ag i'r *byd*; ac felly, ynghyd ag wrth rybuddio eich cymmydogion yn ffyddlon, a thrwy bob duwiol ymddygiad, parotowch eich hunain i adael yn fuan, ond yn anrhydeddus, ac yn y fath fodd ag y pregetha eich coffadwriaeth gyfiawnder, pan y byddoch chwi yn mhell, ac fel y gwnelo dylanwad annerchiadol eich esiamplau da chwi orfodi dynion i ddweyd, "Dilynwn hwynt i Seion, lle y preswylia cyfiawnder." Anwyl Saint, cyfodwch, a dygwch i weithrediad y cynghorion a dderbyniwch; cynnaliwch eich cyhoeddiad a'ch traethodau yn haelionus, gan beidio ag anghofio y Drysorfa Ymfudol, nac fod Teml ar waith i *chwi* yn awr yn Seion yn eich haros; cynnorthwywch i'w chwblhau er eich hunan-les. Yn olaf, byddwch eiddo i'r Arglwydd yn gyfan-gwbl, ac ymbleserwch i buro eich hunain fel y mae Efe yn bur, fel y byddom fythol fyw gydag Ef a'r rhai santaidd sydd fry, ein canol-bwynt cartrefol o gariad, o wirionedd, o santeiddrwydd, felly y byddo. Amen.

DANIEL SPENCER.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O AWST 10 HYD 23.—Mynwy, £2 10s; Llanelli, £2 14s 6½c; Aberteifi, £1 15s; Penfro Ogleddol, £1 2s.—*Cang. Dwyr. Morganwg*—Pontfaen, 8c; Dinas, 9s 4½c; Llanfabon, 4s; Pontypridd, 11s 6c; Aberdâr, 7s 6c; Georgetown, 4s 3c; Troedyrhiw, 10s; Trefforest, 6c; Cwmbach, 9s 5½c.

---

CYNNWYSIAD.



---

MERTHYR-TYDFIL:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES, 14, CASTLE STREET.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 31.] MEDI 9, 1854. [CYF. VII.

## CRYNHOAD O ARAETH Y LLYWYDD DAN JONES, AR Y GYMDEITHAS GENADOL, MEWN CARIAD WLEDD,

*Yr hon a gynnaliwyd yn Neuadd y Saint yn Merthyr, ar y 10fed o Orphenaf*, 1854.

DAETHYM yma heno i gynnal Cariad Wledd, neu i wledda ar gariad. Cariad sydd felysach nâ phob danteithion; hebddo nid oes melysder, a lle y byddo, gwna y chwerwder yn felysder, a sugna allan bob chwerwder ag sydd yn mhob peth ag yr ymgymmysga. Y cariad hwn sydd yn ymddangos yn eich gwynebau heno, cyn yr edrychech mor llawen, o herwydd lle y mae llawenydd, y mae yno gariad yn ei achosi. O'r ochr arall, lle y gwelir gwyneb trist, arwydda ofid, ofn, a braw yn y cyfryw galon; ond yn nedwydd breswylfa cariad, y gwelir gwyneb dysclaer, llygaid clir, a golwg llon.

*Rhaid* i gariad gael gwrthddrych, a'r gwrthddrych teilwng sydd ganddo heno yw y Gymdeithas Genadol, a'n hymgasgliad ynghyd a arddengys ein cariad atti, sef i gynnorthwyo ei chenadon, o wir gariad at y genadwri a draethant,— y genadwri ddwyfol ddanfonedig oddiwrth Dduw o'r nef at ddynion, a gefnogwn, ac hyderwn fod pawb a brynasant drwyddedi yn ystyried hyny, ac yn gwir ddymuno ei llwyddiant; ni ddymunant dros ddim sydd yn well.

Llawer o genadon a gynnelir, ac a ddanfonir allan gan ein

gwladwriaeth; gwarir amryw filoedd o bunnau tuag at eu cynnal ar faes y frwydr, i drochi eu cleddyfau yn ngwaed eu cyd-ddynion,—i roddi eu bywydau yn ebyrth i greulonder gelynion, er boddio chwantau, a chynnal balchder mawrion ein byd, ymgais pa rai yw sathru y gwan dan draed er eu codi eu hunain yn uchel! Ai dyna y fath genadwri yw hon? Diolchwn-nade, ond un sydd yn hytrach na dwyn einioes, yn rhoddi bywyd tragywyddol i bawb a'i derbynia,—mabwysiada y sawl a'i derbynia yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd iachawdwriaeth; dyga i ddyn holl gysuron y bywyd presennol, a mwyniant diderfyn yn y byd a ddaw,—diwalla ef â holl angenrheidiau tymhorol ac ysbrydol. Cynnwysa fywydau diderfyn a thragywyddol, a choronau anniflanedig yn nheyrnas Dduw mewn gogoniant; pa werth a ellir osod arni?

Y byd crefyddol, neu enwadau ein hoes, ydynt yn casglu cannoedd a miloedd o bunnau yn eu hamrywiol gymdeithasau hwy, i gynnal cenadon a ânt allan i bregethu cenadwri na wyddant a yw hi o Dduw ai peidio,—gobeithiant ei bod, ond ofnant nad yw, a chymmerant yr awdurdod i'w phregethu allan o'r llyfr hwn (y Beibl), heb ei derbyn gan Dduw, a phrofant eu sêl drosti drwy eu diwydrwydd i'w lledaenu ar led.

Nid yw y Saint yn cynnorthwyo cenadwri a gynlluniodd dyn, nac a ddyfeisiodd doethineb ddynol; nid un a ofnant ei bod yn gau, nac a obeithiant yn unig, ond un ag y *gwyddant* ddarfod i Dduw ei danfon gyda'i angel santaidd, i'w phregethu i bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl, a gwyddant mai cenadon Duw sydd yn ei phregethu, ac mai y rhai hyny a gynnorthwyant ag elw eu Cariad Wledd heno. Mwyaf i gyd, ynte, fyddo ein sêl dros, ein gorfoledd yn, a'n cariad at y genadwri wirioneddol hon, gan y gwyddom yr effeithir bywyd tragywyddol dynion drwyddi, ac o herwydd nad oes arnom ofn y siomir y neb a'i credo; gan y mentrwn hi yn hunan-brofiedydd i bawb.

Pe ystyriem bwysigrwydd ein cenadwri, gwelem yr angenrheidrwydd anhebgorol ac hanfodol, y ddyledswydd a'r rhwymau ag sydd arnom i wneyd hyn heno, cyn y teilyngom yr un o'i bendithion rhagorol. Danfona ddynion allan, nid yn unig er i'w chredinwyr afaelyd yn yr anchwiliadwy olud sydd ynddi, ond hefyd er rhybuddio y byd am yr ysgubell ofnadwy a ysguba ei holl anghredinwyr, ac am y plaäu ofnadwy a ddeu-

ant fel ffrewyll yn llaw Duw, i ffrewyllu ei holl elynion, y rhai a wrthodasant ei ddwyfol genadwri, -yr ammodau o heddwch a gynnygiwyd iddynt gan ei weision anfonedig,—i gyfeirio y rhai a'i derbynia i'r unig le o ddiogelwch, rhag y rhyfeloedd a'r dinystriadau a ddanfona i wneyd lle i'w Fab Iesu i ddyfod mewn gogoniant, a'i Saint addfwyn gydag Ef, i etifeddu y ddaear. Pwy gan hyny na wel yr anghenrheidrwydd o ddanfon cenadon? Heb genadon ni chyhoeddir y genadwri, ac heb genadwri ni achubir neb.

Os oes llawenydd yn y nef am un pechadur a dröa o gyfeiliorni ei ffordd, pa faint mwy yn mynwesau y Saint a bleidiant, a gefnogant, ac a gynnorthwyant genadon cymdeithas mor ardderchog ag a achuba ei channoedd a'i miloedd? Pan ddanfona Duw bregethwyr allan, nid ei angylion santaidd a ddanfona at ddynion llygredig, ond ei weision dynol. Danfonodd ei anwylaf Fab i wisgo cnawd cyn iddo ddechreu traethu ei genadwri bwysig. Gan fod y genadwri bwysig hon mewn llestri pridd, parchwn, cynnaliwn, a gwerthfawrogwn y llestri, o herwydd y trysor gwerthfawr a gynnwysant. Gan nad yw Duw yn danfon ei angylion o'r nef i'w thraethu, ond yn unig at un neu ddau i ddechreu, a'u hawdurdodi a'u danfon hwy at ereill, gwelwn ein bod ni yn mhlith y cyfryw, ac mai cenadon yw pob un o honom ag sydd a'r trysor hwn yn ein llestri, a bod dysgwyliad i ni fyned allan ac arllwys o hono i bawb a'i derbynia. Heb i ni wneyd hyn, aiff y byd i ddinystr, a gofynir eu gwaed ar ein penau; o ganlyniad, ein dyledswydd yw gwneyd fel hyn heno, nid rhag ofn y canlyniad o beidio, ond o herwydd teilyngdod y genadwri, ac er mwyn ei theilwng Awdwr hefyd.

Gan mai dwyfol yw y genadwri, dwyfol yw y cenadon hefyd. Mae yn ofynol fod pob un o'r cenadon hyn wedi eu danfon gan Dduw megys Aaron; nid pawb sydd i fyned allan i bregethu. Pan elo cenadydd Duw allan, dylai brofi drwy ei weithredoedd da, a'i dduwiol ymddygiad, yn ogystal a thraethu ei genadwri, a'i hargraffu ar feddyliau ei wrandawyr, mai cenadydd dros Dduw ydyw.

Wedi gweled yr anghenrheidrwydd o genadon, gofyna rhai ar bwy y mae pwys y gwaith, a pha fodd y dylem weithio? pe gallwn i fyned allan i bregethu, mi a awn yn union, &c. Cenadon yw y Saint i fod, lle bynag y byddont, a hyny trwy

wneyd eu goreu yn mhob amgylchiad, ac yngwyneb pob rhwystr i ledaenu y genadwri. "Pa fodd y gallir gwneyd hyny?" meddwch. Os nad allwch fyned allan eich hun, gan wybod beth sydd eisieu i fyned, cynnorthwywch ereill ag sydd wedi myned, trwy roddi o'ch harian i'w cynnal, o herwydd nas gallant wneyd hebddynt. Gwn yn rhy dda fel y mae ar ein brodyr i fyw ar garedigrwydd y wlad, i fyned heb fwyd am ddiwrnodau, na gwelyau i gysgu am nosweithiau, a'u gwaed yn eu hesgidiau wrth drafaelu, a dilyn ol traed pregethwyr hunan ddoethion, ac offeiriadon o'r colegau, ag ydynt wedi hudo y bobl â'u gwaeddiadau, a'u bygythion o anathemau ar y neb a dderbynio Sant i'w dŷ, gan daenu ar led bob ystoriau atgas a chelwyddog, pa rai a lyncwyd yn felys gan eu hudolion gwancus am danynt. Mae yr holl rai hyn ganddynt i'w gwrthbrofi yn ngwyneb gŵg a gwawd y byd, ac o waethaf doethineb ddynol, a'u rhag-rybuddio, a chael rhincian dannedd arnynt, a gwaeddi ar eu hol, eu heriid, a'u taflu allan yn y diwedd, fel y cafodd pob gwir genadydd i Dduw yn mhob oes o'r byd. Coeliwch fi nad gwirionedd yn eich meddiant yw y goreu er cael lle cysurus gan y byd. Aed dyn allan i ganu baledi, neu areithio yn erbyn y genadwri hon, gwir neu gelwydd, caiff dderbyniad da, chroesaw mawr, a digon o fwyd yn ei fol. Dywedai Iesu Grist, "Yr hwn sydd yn dyfod yn enw ei hun. hwnw a dderbyniwch, ond gan i'm Tad fy anfon i, ni'm derbyniwch." Pe buasai y Revrendiaid wedi rhoddi eu henwau wrth waelod dangosiadau ein brodyr, y cenadon, cawsent dderbyniad gwell; ond am y dywedant mai Duw a'u danfonodd, sathrant eu cenadwri bwysig dan draed, mor anystyriol â moch yn sathru perlau anmhrisiadwy, a dewisant yn hytrach fyw ar olchion drewllyd coegdyb. Fel yna, a gwaeth nag y desgrifiwyd, y mae ein brodyr anwyl yn cael dyoddef, wrth droi dynion o gyfeiliorni eu ffyrdd at Dduw.

Os oes teuluoedd mawr, neu ryw rwystrau annorchfygol yn ein hattal i fyned allan ein hunain, gallwn gymmeryd rhan o'r baich arnom drwy roddi arian i'r rhai sydd allan, i gael ymborth a dillad, at yr hyn y mae ein Cariad Wledd heno. Os na fyddwn yn gyd-gyfranogion â hwy, ni ddysclaeriwn fel sêr y nefoedd byth mewn gogoniant; ac os na chyd-ddyoddefwn, ni chawn ein cyd-ogoneddu chwaith. Pwy sydd dros ledaenu y genad-

wri? Pwy bynag ydynt, cymmerant ran o'r baich, trwy gyfranu o'u heiddo tuag atto. Felly gall y dosparth yna wneyd.

Wrth y rhai a allant fyned, dywedaf, dylai y ffaith o fod Duw wedi agor calonau i ddiwallu y rhai a aethant, fel na ddiffygient, eu cymhell hwythau i fyned hefyd, a phrofi Duw, a chânt weled mai ffyddlon a fydd Efe iddynt; er y dichon eu profi, ac y cânt aberthu, ond ar ol y treial mae y fendith yn dyfod; aberth a ddwg allan fendithion y nefoedd. Profiad sydd genyf fi am brodyr, mai yn gymmaint ag yr ewch allan mewn ffydd am gynnaliaeth, gan yr hwn sydd a chalonau pawb yn ei law, y cewch eich diwallu.

Y mae elw ein Cariad Wledd, fel y dywedais, at gynnorthwyo y rhai a aethant allan, ac i lesoli y rhai a fyddant yn wirfoddoliaid i fyned allan ar eu hol Gwell fydd genym etto ein bod wedi myned ar gais Duw, na phe dringasem orseddau breninoedd daearol, a meddu holl drysorau ymerhawdwyr y byd, a bwyta ein digonedd o frasder y ddaear, trwy wneyd cais brenin neu frenines ddaearol. *Yn awr* y mae Duw yn galw am filwyr i fyned allan drosto, ac addawa i'r rhai a frwydrant yn ddewr, ac a lafuriant yn ddiflino, ddyrchafiad i fod yn Freninoedd ac yn Offeiriaid yn ei deyrnas. Beth pe gofynai Victoria i rai o honom ni fyned yn swyddogion uchel, i gael tâl mawr yn ei theyrnas, pwy a wrthodai fyned? Oni ystyriem hyny yn anrhydedd mawr? Ond y mae galwad Brenin y breninoedd. ac Arglwydd yr arglwyddi yn fwy o anrhydedd nag y gall holl ymerhawdwyr a breninoedd y byd ei roddi. Y mae holl deyrnasoedd y byd i fyned yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist Ef, a'r freniniaeth, a *mawredd* y freniniaeth dan yr *holl nefoedd*, i'w rhoddi i bobl Saint y Goruchaf—i'r gwirfoddoliaid ffyddlonaf.

Frodyr, ag sydd heb deuluoedd trwm, a ewch chwi allan lle y mae dynion mewn siroedd yn newynu o eisieu yr ymborth ag sydd genych chwi i'w roddi iddynt? Pwy a aiff? Y mae Duw yn galw! Chwi chwiorydd, gwyliwch na rwystro teganau darfodedig bydol, a phleserau, chwi rhag gadael eich gwyr i fyned allan i gyflawni ewyllys Duw! Frodyr, ni chyrhaedda dyn a lywodraethir gan y wraig fywyd tragwyddol, heb i chwyldröad hollol o ddeddfau anian, a bwriadau anffaeledig, a rhagarfaeth y Duw anghyfnewidiol cyn bod y byd, gymmeryd lle, Gobeithiaf na chaiff unrhyw wagedd rwystro ieuenctyd Mer-

thyr i fyned allan dros eu Tad, ond y tyfant i fyny yn nheyrnas Dduw, wedi cynnyddu mewn doethineb a ffafr Duw a dynion, ac y cyfodant fel cewri i gwblhau y gwaith a sylfaenodd eu tadau, tra yr â y cyfryw a'u penau llwydion i lawr i'r bedd mewn llawenydd o'u herwydd. Llawenhais, perswadiais a chysurais fy hun â'r meddwl hyn am lawer un, ond y peth nesaf a glywwn am danynt oedd eu bod wedi priodi a rhwymo eu hunain wrth wrthrych gwael ac annheilwng o'u sylw, ac yna, ffarwel i'r Arglwydd gael un defnydd o honynt! Nid wyf am ddweyd yn erbyn priodi yn ei amser, ond ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw, a phriodwch wed'yn pan y cewch amser a gorphwysfa i hyny. Hoffaf i glywed eich llais etto, o'ch maesydd llafur, yn sôn am y llwyddiant a gewch, ac ni fydd dim melysach i'm clustiau nâ chlywed fod sain yr efengyl yn treiddio trwy Gymru, a dynion wrth y miloedd yn ufyddhau, ac yn dwyn ffrwyth i fywyd tragywyddol, oddiar gynnyrch ein cariad ni at Dduw a'i deyrnas, am iddo Ef yn gyntaf ein caru ni.

Yna galwodd am enwau y gwirfoddoliaid.

WILLIAM LEWIS, *Ysgrifenydd.*

---

## LLYTHYR O DDINAS CEDRWYDD.

*Dinas Cedrwydd, Mai* 20, 1854.

ANWYL DAD A MAM,—Gyda'r cyfleusdra presennol cymmeraf yr adeg hon o ysgrifenu atoch, gan obeithio eich bod yn iach fel ag yr ydym ni yn bresennol,—diolch i Dduw.

Nis gwn pa beth i ysgrifenu, o herwydd fy mod wedi anfon cynnifer o lythyron atoch, ac heb gael yr un ateb iddynt hyd yn hyn. Nid wyf wedi clywed yr un gair oddiwrthych er y fl. 1851, a hyny yn St. Louis, cyn i mi gychwyn oddiyno; nis gwn beth yw y mater, yr oeddwn yn dysgwyl cael llythyr oddiwrthych gan John Roach neu Thomas Thomas, ond ni chefais glywed dim Os ydych yn meddwl fy mod islaw eich sylw i anfon ateb, gallaf oddiwrth hyny.

Yr ydych chwi fy nhad wedi gweithio yn galed holl ddyddiau eich bywyd, i gadw ereill yn gyfoethogion ac yn foethus, ac er eich holl ymdrech yr ydych yn y diwedd yn dlawd eich hunan, heb fod yn feddiannol ar droedfedd o dir yn eich bywyd, heb dalu

rhent fawr am dano, nac un creadur chwaith, oddieithr ambell i fochyn. Ar yr un pryd yr ydych yn credu fod eich sefyllfa yn well nâ'm heiddo i, a hyny yn tarddu oddiar y grefydd sydd genyf, a minnau, fel Abraham gynt, wedi gadael tŷ fy nhad a'm holl berthynasau a'm cyfeillion, i edrych am wlad well,—a dinas, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw. Yr ydych yn credu fy mod yn ffol am adael y fath le ag sydd yna gyda chwi yn Felin Foel, lle na feddwn yr un anifel, a dyfod i'r wlad hon lle mae pob llawnder i gael. Y mae genyf anifeiliaid o bob math, yn wartheg, ychain, moch, a gwyddau; hefyd y mae genyf dai a thiroedd &c., ac nid oes arnaf ddimau o rent i neb, a gallaf gael a fynwyf o dir yn rhad; felly gwelwch gymmaint gwell gwlad yw hon nâ'r hen wlad.

Nis gallaf ddesgrifio y llawenydd a fyddai genyf pe buasech yn ymuno â'r Saint, ac yn ymfudo i'r wlad hon. O! y fath lawenydd fuasai genyf pe byddai fy nhad a mam yn Saint. Mi a glywais fod John fy mrawd ar y ffordd yn dyfod tuag yma ond nis gwn pa un a yw yn dyfod ai peidio.

Y mae Phebe fy ngwraig, a Morgan bach fy mab yn cofio atoch yn fawr. Gall Morgan siarad tair iaith, sef y Gymraeg, y Saesneg, a iaith yr Indiaid, er nad yw ond saith mlwydd a chwe mis oed.

Hyn yn fyr oddiwrth eich mab,

DAVID D. BOWEN.

---

## DAMMEG Y MISOEDD.

AR ryw foreu dydd gwyl nodedig, pan yr oedd yr haul a'i oleuni tanbeidiol yn ymledaenu ei belydrau gwresog dros y maesydd, y gweir-gloddiau, a'r gerddi ffrwythlon, a minnau yn myfyrio ar yr amseroedd a'r tymhorau, ac ar hyny mi a glywais ymddyddan rhwng y misoedd Mai, Mehefin, Gorphenaf, ac Awst, pa rai oedd yn ymffrostio yn eu gwisgoedd tlws-wych,—"Edrychwch," meddai y naill wrth y llall, "ar y ffrwythydd pêr, y cnydiau toreithiog, ynghyd a'r danteithion dymunol o bob math ag yr ydym ni yn eu cario ar ein cefnau, nes y mae y boneddigion a boneddigesau yn ymhyfrydu yn yr olygfa wych sydd arnom. Ha, ha, pwy sydd fel nyni? Ni fyddai y

flwyddyn werth ond ychydig oni bai ni! Ond am Ionawr, Chwefror, Mawrth, a Rhagfyr, dyna rai diog! ni welir dim ffrwythydd ar y coed na'r maesydd o'u heiddo hwy, ond ein hôl ni wedi bod yn llafurio yn galed i ymbleseru trigolion y byd. Nid yw yn werth gan neb i fyned allan o'i dŷ i edrych arnynt, ac nid yw y lleill fawr gwell na hwythau, ond fe geir ambell i flodeuyn, etto nid ydynt yn haeddu i'w cyffelybu i ni."

Ond rhyw fodd neu gilydd cafodd Mawrth a'i frodyr amserol glywed am ymffrost mawr y brodyr ereill, ynghyd a'r diystyrwch mawr a daflent arnynt hwythau, tra yr oeddynt ar y pryd yn gweithio eu goreu yn y *seler*. Yna ymgynghorodd Mawrth â'i frodyr, a phenderfynasant beidio gweithio y gauaf dyfodol, ond i bawb gymmeryd *holyday*; a'r gauaf a aeth heibio yn gyffelyb i'r haf. Ni fu dim eira, rhew, nac oerfel, a'r coedydd yn deilio cyn yr amser arferol, &c. A phan ddaeth yr haf, yr oedd heintiau yn y wlad, y blodau a'r ffrwythau yn cael eu bwyta gan bryfed. Dim ond sŵn gofid a galar a glywid yma a thraw, a neb yn dyfod allan i weled y Meistri Mai, Mehefin, Gorphenaf, ac Awst. Yna y deallasant, ac a ddywedasant y naill wrth y llall yn brudd a thorcalonus, "Diau ddarfod i ni lefaru yn galed ac yn gableddus am y boneddigion Ionawr, Chwefror, Mawrth, Rhagfyr, a'u cyfeillion; oblegid erbyn i ni weled ac iawn ddeall, nid oeddem ni ond taflu yr hyn ag oeddent hwy wedi ei godi o'r seler, a'i roddi yn ein breichiau."

Yna canfyddasant fod y naill fis mor ymdrechgar a'r llall, ond fod gwaith y naill yn fwy amlwg na'r llall, ac ei fod yn anmhosibl i un weithio yn annibynol ar y llall. Am hyny fe anfonodd y pedwar eu teimladau o edifeirwch mewn gostyngeiddrwydd at y lleill, gan ofyn eu maddeuant.

O hyny allan, mae y deuddeg mis mewn undeb â'u gilydd, ac yn foddlon i gael eu galw i gyd yn flwyddyn.

Wele ddammeg, pa beth a ddysgwn oddiwrthi?

*Dyffryn Conwy.* RICHARD ROBERTS.

---

## IACHAD TRWY ALLU DUW.

*Cwm Ynys y Fuwch, Awst*, 9, 1854.

MR. GOL.,—Llawenydd yw genyf eich hysbysu fel yr amlygwyd gallu Duw yn ein plith.

Yr oedd yma wraig i frawd oedd newydd ei fedyddio, o'r enw William Richards. Methodd hi a chael iechyd gan y meddygon. Aethym i'w thŷ, a phregethais efengyl Iesu Grist iddi, hyd nes ei hargyhoeddi o fodoldeb y bendithion, a bod yr arwyddion yn canlyn yn awr fel gynt. Ar y 17eg o Orphenaf, gweinyddais i a'r Henuriad Richard Price yr ordinhad arni yn ol ei deisyfiad. Er bendith iddi hi, llawenydd i ninnau, a gogoniant i Dduw, derbyniodd y fendith o iachâd trwyadl. Tystiolaetha yn gadarn a diwyd o hyd mai pregethwyr gwirionedd ydyw gweinidogion y Saint, a bod Duw yn cadarnhau eu geiriau trwy arwyddion y rhai sydd yn canlyn.

Bedyddiwyd hi yn gyhoeddus ar y 30ain o Orphenaf. Ni a gawsom wrandawiad astud a lliosog, ac addewidion gan ereill y cymmerent eu bedyddio.

Y mae yma alwad mawr am ein llyfrau; ond y mae yr enwadau a'u gweinidogion yn ein herbyn, ac er eu gwaethaf y mae gwaith Duw yn treiglo yn y blaen.

Eich brawd yn y ffydd,

J. D. ROBERTS.

---

Yr ydym ni, sydd a'n henwau isod, yn dystion o'r pethau uchod.

WILLIAM RICHARDS.
GWENLLIAN RICHARDS.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MEDI 9, 1854.

WEDI hir arfaethu, wele ni o'r diwedd yn allnog i ddyddio ein HUDGORN o Abertawy! A udgana yn uwch, neu yn gliriach ei lais,—barned clywboedd ei ymarferwyr. O leiaf, hyderwn y bydd cynnefinol awyr glan y môr yn clirio llais ei *Udganwr*; a thebyg y cyd-ddymuna ei garedigion ag ef y bydd i gyfranwyr

bywydau gyfnerthu ei gyfansoddiad, fel ag i ddeffroi trigolion cysglyd ein gwlad i ffoi rhag y dinystr ymhongianog, i'r ddiogelfan, cyn yr ymarllwysa arnynt. Nid heb deimladau heblaw a ddesgrifiwn—nid heb gofiant hoff, ac nid heb gnoi ein cil ar y gwleddoedd ymgrefyddol a fwynhasom yn Merthyr a'i chylchoedd y gallwn ymadael, nac ychwaith ni ollyngwn dros gof, ein hanwyl gyd-weithwyr yn ngwinllan ein Hiesu, nid llai ein hawydd fydd am eu lles, na'n *Hudganiad* i'w dyddanu, ac ni fydd yn hir, hyderwn, cyn y cawn y pleser mawr o gydblethu llaw a llais mewn un-côr i ddynodi clodydd ein Duw, nes adleisio o ororau hoff Seion.

Nad i ba le yr awn, credwn na ddichon amser nac amgylchiad, na dim arall wahanu ein serchiadau oddiwrth ein ffyddlon gydweithwyr yn Nheyrnas Dduw; ni fydd ein brwydrau a'n buddugoliaethau ond ail goffa ein dewrder, yr hyn a gynnydda ein cariad cyd-blethiog at Dduw a'i waith, ac yn mhen oesoedd, wedi dringo drwy yr erlidigaeth—cyrhaedd pen y bryniau tragywyddol tu hwnt i eithafion yr anialwch mawr, mor felys fydd edrych yn ol ac adgoffa ein ffyddlondeb i'n gilydd ac i'n Duw; mor hoff fydd swn lleisiau y nefolion yn swnio yn ein clustiau, "Y rhai hyn a ddaethant allan o'r cystudd mawr, ac a olchasant eu gynau yn ngwaed yr Oen!" O! mor dda fydd genym y pryd hyny, ein bod wedi bod o'r un galon â'n gilydd, ac am bob ymdrech a wnaethom! Mor groes i hyn fydd cofiant am y troseddwr,—fydd cofiant y rhai hyny a redasant yn dda am ennyd, ac a droisant eu cefnau yn nydd y frwydr! Etto, beth yw y rhai hyny wrth y bradwr! Tra ein tosturi a gynhyrfir at bob math o droseddwr a gwympodd o tan ei arfau yn ysglyfaeth i fagnelau y gelyn, digasedd calon a arllwysa anathemau ar ben y bradwr o ben y bryniau draw,—cludydd arfau i iselaf was Lusiffer yw—ysgubell pwll ei domen yn frwsh paentio a fedd, a'r goreu o ddynion o'i gylch a ddwbia â'i faw ei hun. O bob ffrewyll lem, a cherydd tost, barn a chosp a ollyngwyd o wlad anwn, ac o bob bytheuad a ollyngodd Belial yn rhydd o'i gadwyn, nid atgasach na ffieiddiach yr oll, nac un o gorgwn y fall, nag yw cyfarthiad y bradwr wrth sodlau gweision Duw. O Cain hyd Judas nid ymgnawdolodd neb tebycach i Lusiffer, ac oddiyno hyd hanes holl gau frodyr Iesu a Phaul, gwrthgilwyr yr eglwys gyntefig, a bradychwyr holl blant Duw,

ni bu gwaeth wed'yn yn mhlith holl greuloniaid daear, heb eithrio Nero, Maximus, Mari waedlyd, a phabau Rufain, na bradychwyr ein diweddar Brophwyd Joseph, o herwydd, yn gymmaint a bod gwaed ei eneiniog yn werthfawrocach yn ngolwg Duw na gwaed ereill, erchyllaf cosp yr hwn a'i tywallto. O bob gofid a gafodd Joseph, y Deuddeg, a gaiff Brigham ar eu hol, ac a gaiff pob dyn da yn yr Eglwys hon, ni chwynant yn dostach yn erbyn dim nag yn erbyn gwenwyn enllibaidd ac atgasrwydd bradwrus eu bradwyr. Ac o'u holl gasineb nid oes diflasach na'u mawr gwyn yn erbyn anghyfiawnder! Saint, ymwaredwch rhag y diafoliaid rhy grefyddol yma, a pheidiwch a rhyfygu benthyca eich clustiau i wrandaw cam-gyhuddiadau gan ddiafol rhith-dduwiol yn erbyn yr Offeiriadaeth, onite llyncir chwi ganddynt. Os unwaith y cyd-ymdeim ir â hwynt, ystyrir hwnw braidd yn anfeddyginiaethol, ac ymaith ag ef oni edifarha ar frys.

---

## LLYTHYR Y LLYWYDD DANIELS.

*St. Sior*, *Awst* 21, 1854.

ANWYL LYWYDD JONES,—Y llythyr diweddaf a dderbyniais oddiwrthych oedd yr hwn a ysgrifenasoch ar y 5med o Awst, a daeth hwnw i'm llaw yn y Wyddgrug, trwy law y brawd Parry, a drwg iawn oedd genyf i weled ynddo fod eich iechyd yn pallu; ond hyderaf y caf glywed yn fuan fel arall, sef eich bod yn iach a chysurus,—dyna yw fy ngweddi barhaus i, a'r holl swyddogion a'r Saint trwy y Gogledd, bawb o honynt.

Cawsom Gymmanfa dda iawn yn y Wyddgrug, a lle cyfleus i'w chynnal, sef yn y Neuadd helaethaf yn y dref hon, ond ni ddaeth yno gymmaint o'n cyfeillion ag oeddem yn ddysgwyl, eithr ni a gawsom wrandawiad sobr gan gynnifer ag a ddaeth. O herwydd un amgylchiad penderfynasom newid y llywyddiaeth, a llawenydd oedd genym ddeall fod yr Ysbryd wedi dadguddio i chwi yr un peth. Cawsom ddigon o ddoethineb i egluro yr angenrheidrwydd o'i wneyd i foddlonrwydd pawb o'r bron. Ni a osodasom John Jones yn Gynghorydd blaenaf, a Hughes Llangollen yn ail. Yr ydym yn credu yr ânt rhagddynt yn bresennol, ac y deuant yn rhydd o'r ddyled sydd arnynt yn mhen chwe' mis;

ac y maent yn addaw gwneyd yr iawn ddefnydd o'u hamser i bregethu a rhanu traethodau, gan gyfaddef wrth y brawd Parry a minnau, eu bod yn teimlo yn euog am iddynt fod mor ddiog yn yr amser a aeth heibio. Bum trwy y Gynnadledd, ac y mae gwrandawiad da yn mhob man, ac argoelion yn bresennol fod y Gogledd yn addfedu i dderbyn yr Efengyl.

Mae y brawd Richard Jones yn dymuno arnoch os gellwch, i anfon dyn da i'r Cefn, glowr neu weithiwr tân, ac y caiff gyflog da. Yr oedd yn ddrwg genyf glywed nas gallwch gael, yn mhlith holl frodyr y deau yna, ddyn da i ddyfod i Gaernarfon i lywyddu, oblegid y mae yno fawr angben am dano. Y mae yma le i laweroedd pe byddai yn bosibl i chwi gael ganddynt ddyfod; mae y trefydd ag oeddent y llynedd yn erlidgar, yn gwrandaw yn astud eleni, sef Fflint, Bagillt, Maesglas, Tanlan, &c. Cawsom ein rhwystro gan y gwlaw i bregethu yn Treffynon.

Cawsom Gymmanfa gysurus ddoe yn Abergele, lle yr oedd Ysbryd Duw yn helaeth o'r dechreu i'r diwedd, ac undeb a chydweithrediad ar bob peth Am 5 o'r gloch prydnawn, pregethodd y brodyr Richard Roberts, Richard Griffiths a minnau, allan ar yr heol i dyrfa liosog; yr oedd yma lawer o ddieithriaid wedi dyfod erbyn y ffair yr hon oedd dranoeth, a chawsom Ysbryd Duw yn helaeth yno.

Yr wyf fi a'r brawd Parry yn bwriadu myned i Ruddlan nos y fory; mae y brodyr wedi cael eu baeddu gan y gelynion yno nos Fawrth diweddaf, trwy fod un o'r gwaethaf o dref Llanelwy wedi dyfod yn gymmorthwy iddynt. Yr ydym yn myned i Lanelwy, Dinbych, ac i Ruthyn yr wythnos hon hefyd, ac i Gymmanfa Eglwys Fach dydd Sul.

Yr ydym yn cwbl gredu y bedyddir llawer yn y tri mis nesaf. Bu y brodyr G. Roberts a Williams yn pregethu am wythnosau tua'r Bala a'r cylchoedd a chael gwrandawiad da, a llawer yn credu. Mae y Llywydd Parry wedi cael ar ei feddwl anfon Hugh Evans o Lanfair gyda un o honynt, yr hwn sydd yn ddyn mewn oed ac yn bregethwr da iawn, ac hyderwn y gwna y cynllyn ateb y dyben er cael y rhai sydd yn credu i'r dwfr bellach.

Yr wyf fi, a Parry a'i wraig, a'r holl swyddogion a'r Saint yn mhob man lle yr wyf wedi bod, yn cofio atoch yn garedig.

Eich cyd filwr yn myddin Iesu,

D. Daniels.

## CYMMANFA SIR ABERTEIFI.

CYNNALIASOM ein cymmanfa ar y 13eg o Awst, mewn Neuadd yn Aberystwyth, a chafwyd cyfarfodydd rhyfeddol o dda trwy y dydd, ac amryw o'r Saint wedi dyfod ynghyd o'r gwahanol Gangenau, a lliaws mawr o wrandawyr. Penderfynasom yn unfrydol i ddal i fyny awdurdodau yr Eglwys.

Am ddau ac am chwech bu amryw yn pregethu yn effeithiol, ac yn eu plith y Llywydd Jeremy, a chafwyd gwrandawiad astud. Yr oedd llawenydd mawr gan y Saint wrth glywed y brodyr yn profi gwahanol byneiau ein hathrawiaeth, ac ymddangosai y gwrandawyr oll yn siriol, fel pe buasent yn awyddus i gael gafael yn y wybodaeth sydd yn meddiant y Saint. Treuliasom y dydd yn gysurus iawn, a chawsom ein bendithio yn helaeth gan ein Tad â dylanwadau yr Ysbryd Glân.

Y cynnrychioliad sydd fel hyn :—Cangenau 5, Hen. 17, Off. 4, Ath. 3, Dia. 1, Bed. 2, Goll. 3, a'r cyfanswm yn 105.

B. EVANS, *Llywydd*,
J. MORGAN, *Ysgrifenydd*.

---

## CYMMANFA SIR FFLINT.

FE gynnaliwyd y Gymmanfa hon yn y *Market Hall*, Wyddgrug, Awst 13, 1854. Dechreuwyd trwy weddi gan y Llywydd J. N. Jones, ac wedi annerchiad byr ond cyfaddas, cynnrychiolwyd—5 Cang., 19 Hen., 5 Off., 5 Ath., 3 Dia., 1 wedi ei ysgymuno, 1 wedi ei fedyddio, a'r cyfanswm yn 114.

Yna pregethodd y Bugail Parry egwyddorion dechreuol yr efengyl yn eglur iawn, a thaer gymhellodd y gwrandawyr i'w chofleidio. Cafwyd cefnogrwydd unfrydol i holl Lywyddiaethau a Chorwmau yr Offeiriadaeth yn Seion, y Brydeinig, a'r Llywyddiaethau Cymreig.

O herwydd amgylchiadau rhyddhawyd J. N. Jones o Lywyddiaeth y Cynnadledd, a gosodwyd Lewis Davies yn ei le, a J. N. Jones a John Hughes yn Gynghorwyr, Jonathan Ellis i fod yn Brif-ddosparthwr, a Thomas Green yn Ysgrifenydd y Gynnadledd.

Cynghorodd y Llywydd Daniels y swyddwyr a'r Saint i fwy o ddiwydrwydd i rybuddio y byd, ac i ddosparthu traethodau.

Cafwyd pregethau effeithiol a grymus yn y prydnawn, gan yr Henuriaid R. Griffiths, Rhoslanychrigog, ac R. Jones, Cefnmawr, ar sefydliad teyrnas Dduw ar y ddaear, a dilynwyd hwy gan J. N. Jones yn Saesneg, a chafwyd hwylusdod rhagorol.

Yn yr hwyr, yr Henuriad L. Davies a brofodd yn eglur fod dwyfol genadwri yn hawdd ei phrofi felly drwy ufydd dod iddi, a chael mwynhau ei bendithion addawedig. Dilynwyd ef gan y Llywydd Daniels yn fedrus iawn, dangosodd y gwahaniaeth sydd rhwng gwir a gau grefydd; mai yr olaf sydd yn erlid y flaenaf, a hyny o herwydd ei bod hi yn dynoethi twyll a noethni y llall. Dilynwyd yntau gan y Bugail Parry, drwy dystiolaethu yn eglur a phenderfynol mai hon yw Eglwys Dduw, mai cenadwri ddwyfol a draddodwn, ac mai hon yw yr unig ffordd i achub dyn, a'i fod ef yn gwybod hyny, a thaer gymhellodd ereill i ufyddhau iddi, ac y caffent hwythau wybod hyny gan Dduw fel y cafodd yntau. Mwynhawyd helaethrwydd o Ysbryd yr Arglwydd drwy y Gymmanfa, a theyrnasai undeb a chariad trwy yr oll, ac am gynnyddiad hwn y parha gweddi

Eich Brodyr yn y C. T.

J. N. JONES, *Llywydd*,

L. DAVIES, *Ysgrifenydd.*

---

## CYNNADLEDD OGLEDDOL PENFRO,

A GYNNALIWYD yn Abergwaen, ar yr 20fed a'r 21ain o'r mis presennol, pryd y cynnrychiolwyd 4 Cang., 14 Hen., 5 Off, 2 Ath., 2 Ddiac., 2 wedi eu bedyddio, 3 wedi eu torri allan, a'r cyfanswm yn 56 Ymgasglodd y rhan fwyaf o'r Saint perthynol i'r Gynnadledd hon yno, a chafwyd dylanwadau Ysbryd Duw yn helaeth iawn yno.

Penderfynwyd yn unfrydol i ddal i fyny holl awdurdodau yr Eglwys; yr oedd pawb yn gwenu wrth gael y fraint o godi eu deheulaw o blaid cynnal a chadw i fyny, anfonedigion Duw, yn eu ffydd a'u gweddiau. Anerchwyd y gwahanol gyfarfodydd yn fywiog a gwresog drwy y dydd, gan amryw o Henuriaid.

DAVID REES, *Llywydd.*

T. EVANS, *Ysgrifenydd.*

---

## HIRAETH AM SEION.

TON—"Serchydol."

DRAW, draw dros dònawg fôr yn mhell,
Edrychaf tua'r wlad sy'n well
Na gwledydd da'r yn nghyd;
Y wlad addawod! Duw i'r rhai
Adawai 'n llwyr y llwybrau gau,
Lle llifa heddwch pur di-drai,
Canys arni mae fy mryd.
Caf yno fyw yn helaeth rydd,
Ynghanol bro y ffigys-wydd;
Ac O! mor hyfryd imi fydd
I dreilio'r dydd ar dòn.
Bydd hyfryd gyda'r Saint gyd fyw,
Mewn nefol dir dan ofal Duw,
Lle na ddaw gelyn o un lliw,
I beri briw i'm bron.

Mae, mae ryw hiraeth dan fy mron,
Am fyn'd im' gwlad o Babilon,
A chroesi'r dòn o'i chri;
Ei mheibion dall sydd imi 'n gro's,
Fel bleiddiaid gwancus yn y nos,
A minnau ar lawr dan lawer lo's,
Yn wylo dagrau'n lli'.
Ti Dduw y duwiau nerthol mawr,
Galluog lywydd nef a llawr,
O gwared fi o'm cystudd 'nawr,
I'th Seion geinfawr gu;
Lle melys glywir sain pob sant,
Yn mhlith dy waredigol blant,
Dan wenau'r nef ar dônau gant,
Yn unaw moliant hy.

Gwel, gwel fy nhelyn 'nawr yn ngrôg,
Fy Nuw, a dyro im' fy llog
O ddianc rhag y llid.

Dan dromlwyth-ormes yma mae
Fy nghalon egwan yn pruddâu,
A'm hawen fâd yn llwyr lesgâu,—
O Dad, mor wael yw 'myd.
Tydi, fy Iôr, a rwydd fawrhaf,
Os yn dy Seion cyfrân gaf;
Ar ddolydd hon—werdd-ddelw haf
Y gwaeaf odlau gwiw;
Yn mhlith ei nhentydd croew glân,
Lle'r esgor myrdd o bysgod mân,
Ar awen dêr o rywiog dân,
'Rhof fawl a chân i'm Duw.

NATHAN DDU O LYWEL.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y RHYFEL.—Wedi ymosodiad creulon o bedwar diwrnod gan amryw agerfadau Brytanaidd a Ffrengaeg, dinystriwyd amddiffynfa Bomarsund, a dywedir fod tua 2000 o'r Rwsiaid wedi eu cymmeryd yn garcharorion. Dywedir fod y Rwsiaid wedi gorchfygu byddin gadarn o'r Twrciaid gerllaw Kars, a chymmerwyd 15 o fagnelau, llawer iawn o anrhaith rhyfel, 84 o swyddogion, 23,000 o wyr yn garcharorion, ac wedi gadael 2000 yn feirw ar y maes. Ennillodd y Rwsiaid fuddugoliaeth arall ar y Twrciaid ar uchel-dir Tchuilglyl ar y 29ain o Orph., cymmerasant tair o fagnelau pres, tair wagen lwythog o bylor a phlwm, 370 o garcharorion, a thros 2000 o feirwon ar y maes.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O AWST 23 HYD 31.—Morganwg Orllewinol, £3 4s 8c; Dyffryn Conwy. £1 10s.

☞ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. D. Jones*, 10, *College Street, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 32.] MEDI 23, 1854. [CYF. VII.


## GALLU A THRAGYWYDDOLDEB YR OFFEIRIADAETH.

*Allan o'r "Seer."*

OFFEIRIADAETH Duw yw yr awdurdod fawr, oruchaf a chyfreithlon ag sydd yn llywodraethu preswylwyr yr holl fydoedd adferedig a gogoneddedig. Ynddi y mae yn gynnwysedig bob gallu i greu bydoedd, i osod cyfreithiau sefydledig a pharhaus er rheoleiddiad y defnyddiau yn eu holl amrywiol weithrediadau, pa un bynag ai gweithrediadau fel mymrynau, fel pentyrau, fel bydoedd, neu fel tyroedd o fydoedd. Y gallu hwnw ydyw ag sydd yn llunio y mwnau, y llysiau, a'r anifeiliaid yn eu holl amrywiaethau diderfyn ag sydd yn bodoli ar ein pellen ni. Yr awdurdod hono sydd yn dadguddio cyfreithiau er llywodraethiad bodau deallawl—sydd yn gwobrwyo yr ufydd a chospi yr anufydd—sydd yn ordeinio tywysogaethau, galluoedd a theyrnasoedd, i ddwyn allan ei gweinyddiadau cyfiawn drwy bob llywodraeth. Yr awdurdod Freiniol hon nid yw yn neillduol neu ar wahan oddiwrth yr Offeiriadaeth, ond yn unig yn gangen neu gyfran o'r unrhyw. Yr awdurdod Offeiriadol sydd gyffredinol, yn meddu gallu dros bob peth; mae yr awdurdod Freninol, hyd nes ei pherffeithio, wedi ei chyfyngu i'r teyrnasoedd a osodwyd dan ei raglawiaeth: y blaenaf sydd yn penodi ac ordeinio yr olaf; ond nid yw yr olaf byth yn penodi ac ordeinio y flaenaf: y gyntaf sydd yn rheoli cyfreithiau natur, ac yn llywodraethu dros yr elfenau yn gystal a thros ddynion;

y ddiweddaf sydd yn rheoli dynion yn unig, a gweinyddu cyfreithiau cywir a chyfiawn er eu llywodraethiad. Lle y mae y ddwy yn unedig, a'r dyn wedi ei berffeithio, y mae ganddo allu hollalluog fel Brenin ac fel Offeiriad; yna pob un o'r swyddau ydynt wedi eu soddi yn un. Yna y gwahaniaeth fydd yn unig yn yr enw ac nid yn yr awdurdod, naill ai fel Brenin neu fel Offeiriad, yna caiff arglwyddiaeth dros bob peth, a theyrnasa dros y cwbl. Yna y teitlau, wedi eu hunaw, ni roddant iddo fwy o allu na'r naill un yn unigol. Mae yn amlwg nad yw rhagoriaethau teitl ond yn unig yn ddarluniadol o sefyllfa pethau yn flaenorol i ogoneddiad a pherffeithiad y dynsoddau ag sydd yn dal yr Offeiriadaeth; oblegid pan y maent wedi eu perffeithio, hwy a gânt allu i weithredu mewn pob cangen o awdurdod trwy rinwedd yr Offeiriadaeth fawr, hollalluog a thragywyddol, pa un a ddaliant; yna hwy a allant ysgwyd eu teyrnwialenau fel Breninoedd, llywodraethu fel Tywysogion, gweinyddu fel Apostolion, a gweinidogaethu fel Athrawon, neu weithredu yn y cyflwr gostyngeiddiaf a'r mwyaf dyrchafedig, Nid oes un gangen o'r Offeiriadaeth mor isel fel nas gallant ymddarostwng i weinyddu ynddi; dim un mor uchel fel nis gallant estyn allan y fraich o awdurdod a goruwch reoli yr unrhyw.

Fod nerth yr Offeiriadaeth yn hollalluog sydd amlwg oddi wrth y ffaith o fod Duw y Tad a'i Unig-anedig Fab yn dal yr Offeiriadaeth, Os nad oedd Duw y Tad mewn meddiant o'r Offeiriadaeth, ni allasai Efe byth alw, penodi, gwneuthur, a chyssegru Iesu yn Arch-offeiriad. Paul, wrth iefaru am Grist, a ddywed "Efe a wnaethpwyd yn awdwr Iachawdwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufyddhânt iddo; wedi ei gyfenwi gan Dduw yn Arch-offeiriad yn ol urdd Melchisedec." Heb. vii, 9, 10. Etto efe a ddywed, "Crist nis gogoneddodd ei hun i fod yn Arch-offeiriad, ond yr hwn a ddywedodd wrtho, Tydi yw fy Mab, myfi heddyw a'th genedlais di." Fel y dywed hefyd mewn lle arall, "Offeiriad wyt ti yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec." (Heb. v, 5, 6.) Y ddwy adran hyn sydd yn profi fod y Tad wedi galw ei Fab i'r Offeiriadaeth.

Ni a brofwn yn nesaf fod Duw nid yn unig wedi galw ei Fab i fod yn Arch-offeiriad, ond ei benodi a'i wneuthur Ef felly trwy lw. Paul oedd yn cynghori yr Eglwys Hebreaidd fel y

ganlyn:—"O herwydd paham, frodyr santaidd, cyfranogion o'r alwedigaeth nefol, ystyriwch Apostol ac Arch-offeiriad ein cyffes ni, Crist Iesu, yr hwn oedd ffyddlon i'r hwn a'i *hordeiniodd* ef, megys ag y bu Moses yn ei holl dŷ ef." (Heb. iii, 1, 2.)

"Ac yn gymmaint nad heb lw y gwnaethpwyd ef yn Offeiriad: (canys y rhai hyny [yr offeiriaid Aaronaidd] yn wir ydynt wedi eu gwneuthur yn offeiriaid heb lw: ond hwn trwy lw, gan yr hwn a ddywedodd wrtho, Tyngodd yr Arglwydd, ac ni bydd edifar ganddo, Ti sydd Offeiriad yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec;) ar destament gwell o hyny y gwnaethpwyd Iesu yn Fachnïydd." (Heb. 7, 20—22.)

Ni chafodd yr Iesu yn unig ei alw, ei benodi, a'i wneuthur yn Arch-offeiriad â llw, ond hefyd cafodd ei gyssegru, "canys y gyfraith sydd yn gwneuthur dynion a gwendid ynddynt yn Arch-offeiriaid; eithr gair y llw yr hwn a fu wedi y gyfraith, sydd yn gwneuthr y Mab, yr hwn a berffeithiwyd yn dragywydd." (Heb. vii, 28.) I gyfansoddi Iesu yn Arch-offeiriad, ynte, sydd yn gofyn galwedigaeth, penodiad, llw, a chyssegriad. Y ffaith o fod Duw y Tad wedi rhoddi yr awdurdod hon ar ei Fab, sydd yn dangos yn y modd mwyaf penderfynol ei fod Ef ei hun mewn meddiant o'r Offeiriadaeth fawr, oblegid nis gallwn amgyffred fod yn bosibl i fôd i roddi i arall yr hyn nad yw efe ei hun yn ei feddiannu.

Llawer sydd yn tybied na fu erioed neb ond dau ddynsawd yn dal yr Offeiriadaeth uchelaf hon, sef Iesu a Melchisedec. Os felly, pwy a roddodd yr Offeiriadaeth hon ar Melchisedec? A allasai taw Crist oedd? oblegid, yn ol Paul, yr oedd yn llawer o gannrifoedd ar ol dyddiau Melchisedec, ac hefyd hyd y nod ar ol y gyfraith a roddwyd gan Moses, cyn i Dduw wneuthur a chyssegru trwy lw ei Fab yn Arch-offeiriad. A wnelai y Messiah alw, ordeinio, a chyssegru Melchisedec i swydd, cyn iddo Ef ei hun dderbyn yr ordinhad santaidd o gyssegriad? Os na wnelai pwy oedd a hawl i'w gyssegru ef i'r swydd hono? Attebwn na fuasai neb yn debyg o wneuthur hyn, heblaw ei fod ef ei hun yn dal y swydd.

Dywed Paul yn mhellach, fod yr Offeiriadaeth ag oedd Melchisedec wedi dderbyn, "heb dad, heb fam, heb achau, ac heb fod iddi na dechreu dyddiau, na diwedd einioes." (Heb. vii, 3.) Melchisedec, wedi derbyn y fath Offeiriadaeth, ac wedi ei

"wneuthur yn gyffelyb i Fab Duw sydd yn aros yn Offeiriad yn dragywydd." Megys nad oedd gan yr Offeiriadaeth ddim "dechreu dyddiau," rhaid y bodolai cyn i ddyddiau ein daear ni gael dechreuad. Ond pwy oedd y pryd hwnw yn ei meddianu? Attebwn, mai Duw, Tad ein hysbrydoedd y pryd hyny a'i meddiannai, yn ei holl ardderchogrwydd, gallu, a chyfiawnder; oblegid os nad oedd Efe na neb arall yn dal yr Offeiriadaeth cyn dechreu dyddiau y greadigaeth, yna nis gallasai fod, fel yr eglura Paul, "heb ddechreu dyddiau."

Wedi profi fod Duw y Tad yn meddiannu yr Offeiriadaeth cyn dyddiau y greadigaeth, a bod Melchisedec yn nyddiau Abraham yn dal yr unrhyw Offeiriadaeth, a bod Iesu trwy "air y llw yr hyn oedd wedi y gyfraith," wedi ei "alw," ei "benodi," ei "wneuthur," a'i "gyssegru" yn Arch-offeiriad am byth mwy yn ol yr un urdd, fe fydd i'w weled yn hawdd, fod gallu yn wisgedig yn yr Offeiriadaeth. Trwy ymarferiad yr Offeiriadaeth hon, Duw y Tad a wnaeth y bydoedd trwy ei Fab. Trwyddi hi, y Mab a dderbyniodd bob gallu yn y nef ac ar y ddaear. Trwyddi hi, Efe a eistedd ar "orseddfa ei dad Dafydd, ac Efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd." (Luc i, 32, 33.) Trwyddi hi, Efe a "esgynodd goruwch yr holl nefoedd fel y cyflawnai bob peth." Trwyddi hi, Efe a gyrhaeddodd goronau tragywyddol, i deyrnasu fel Brenin breninoedd, ac Arglwydd yr arglwyddi, dros bob teyrnas ac arglwyddiaeth, tywysogaeth a gallu, yn y byd hwn neu yn myd yr ysbrydoedd, neu yn arglwyddiaethau diderfyn ei Dad.

Er hyny, hysbysa Paul ni fod Iesu Grist wedi ei alw a'i wneuthur yn Archoffeiriad ganrifoedd wedi i'r gyfraith gael ei rhoddi; etto nid oes ammheuaeth ei fod Ef yn cael ei ystyried yn meddwl ei Dad yr un modd ag Arch-offeiriad cyn sylfaeniad y byd, ac mai trwy rinwedd yr Offeiriadaeth pa un a gaffai dderbyn mewn oes ddyfodol, y gallai ymgorffoli bydoedd, a dangos allan nerth Hollalluog. Duw, trwy ei rag-wybodaeth, a welodd y gwnelai ei Fab gadw ei holl eirchion, a benderfynodd ar amser penodol i'w alw a'i gyssegru Ef yn Arch-offeiriad; Efe hefyd a benderfynodd mai trwy rinwedd y cyssegriad dyfodol hwnw i'r Offeiriadaeth, y byddai iddo filoedd o flynyddoedd yn mlaen llaw, i gael gallu i greu bydoedd a'u llywodraethu hwynt, yr un modd â phe buasai Efe yn barod wedi derbyn y cyssegr-

iad. Ei holl weithredoedd a'i oruchwylion rhyfeddol, yn flaenorol i'w gyssegriad, oeddynt yn ogymmaint canlyniadau awdurdod yr Offeiriadaeth â'r rhai hyny a gyflawnwyd ganddo wedi yr amser hwnw.

*(I'w barhau.)*

*Cyf.* A. L. JONES.

---

## HYSBYSIAD I YMFUDWYR.

*Liverpool, Medi*, 14, 1854.

Y LLYWYDD JONES,—

Mewn canlyniad i'r hyn a amcanwyd yn yr Unfed Epistol ar ddeg o eiddo Prif-Lywyddiaeth yr Eglwys, hysbysaf chwi fy mod yn bwriadu danfon llongaid o Saint i'r Americ yn niwedd Hydref, neu yn gynnar yn nechreu Tachwedd, os ymofyna digon o nifer i'n galluogu i hyny erbyn yr amser.

Ni allaf eich hysbysu yn awr beth a fydd cost y cludiad, eithr y mae yn debygol y gahaniaetha ychydig o'r pris arferol, ond ni fydd yn mhell o £4 i rai mewn oed. O galyniad mi a ddymunaf arnoch i anfon i mi yn ddioed, enwau, galwadau, preswylfanau, ynghyd a thaliad o £1 y pen dros bob person a fydd dros flwydd oed, o'r cyfryw ag yr ystyriwch fod eu hamgylchiadau yn eu galluogi i fyned Hysbyswch hefyd yn mha wlad y ganwyd pob un o honynt

Nid yw y rhai hyny a allant ymfudo i Ddyffryn y Llyn Halen Mawr, nac ymfudwyr y Gymdeithas Ymfudol Barhaus, i fyned yn y llong hon, ond y rhai hyny yn unig na allant dalu eu cludiad yn mhellach nâ'r Unol Daleithiau.

Cyfarwydded Bugeiliaid, ynghyd â Llywyddion Cynadleddau a Changenau, yn mhob matterion cyssylltiedig â busnes yr Hysbysiad hwn, oddieithr yr hyn yr ymhola Bugeiliaid â ni yn ei gylch.

Pan y caffwyf y rhyfedi gofynol o enwau, a phan y gwnaf gwblhau fy nhrefniadau ymfudol, anfonaf lythyrau hysbysiadol yn cynnwys pob hyfforddiadau angenrheidiol, ynghyd a phris y cludiad, &c.

Eich cyd-was,

F. D. RICHARDS.

---

## GWAHODDIAD!

ANWYL DDARLLENYDD,—*Gwybydd* y *rhaid* i ti sefyll o flaen brawdlys ddwyfol! *Cofia* y sefydla dy weithredoedd dy dynged yn y byd a ddaw! *Coelia* gyfaill profiadol yn dweyd nad oes ond mwynhâd o grefydd *wirioneddol* a'th ddedwyddola yn y byd hwn nac i dragywyddoldeb; ac er mwyn dy enaid anfarwol, *crêd* dystiolaeth *tyst geirwireddus*, mai yr hyn a ganlyn yw egwyddorion yr *unig grefydd* ddwyfol a fu erioed nac y sydd yn awr yn y byd.

Na âd i ddylanwad gau grefydd gynhyrfu dy nwyd i daflu y 'Gwahoddiad' taer hwn o'th law; canys gwirionedd diwrthbrawf yw y fod Duw wedi llefaru o'r nefoedd yr hyn sydd yn *rhaid i ti* wneuthur er bod yn gadwedig. Pe y gwnelit bob peth arall a orchymyna pob enwad, a'r oll a feddyli yn ddyledus dy hunan, ac esgeuluso gwneuthur y pethau dwyfol orchymynedig canlynol, ni fyddi gadwedig. Ni bu, ac nid oes bywyd tragywyddol yn addawedig ond *yn unig* drwy ufyddhau i *bob gair a ddaw* o enau yr Arglwydd, boed y gair hwnw a fyddo. Rhaid iddo Ef gael ufydd-dod trwyadl, ac o galon, i *bob* gorchymyn a roddo Efe. Nid dwyfol y dichon fod crefydd y sawl a gyfnewidia un iot nac un teitl o orchymynion Iesu Grist pe eu proffesid, pe eu canmolid gan, na phe yr haerai holl ddoethineb ddynol y byd i'r gwrthwyneb; o ganlyniad er mwyn dy achubiaeth dragywyddol na huder di i'w coelio. Hefyd, pe cyd-haerai pob pregethwr, awdwr a golygydd, â'r anffyddiwr, y meddwyn, ïe, yr holl fyd mai twyll yw yr athrawiaethau canlynol, na chrêd hwynt, onide amddifadi dy hun o wir grefydd, gwrthryfeli yn erbyn Duw, a cholli dy enaid o herwydd gwneuthur hyny. Tyred ynte, i'r fan a nodir isod er gwaethaf pob gwrthwynebydd, a mŷn wrando drosot dy hun, canys am dy farn dy hun y'th fernir, a throsot dy hun y rhaid i ti farw, a byw neu farw drachefn yn dragywydd: tyred i wrando drosot dy hun, a chai glywed mai gwirioneddau ysgrythyrol, rhesymol, a dwyfol brofadwy i ti *dy hun* ydyw:—

I. Fod Angel o'r nef wedi dyfod i'r ddaear â chenadwri i'w holl drigolion, yr hon a gynnwysa gyfarwyddiadau eglur a chywir, pa fodd i gael maddeuant pechodau ac iachawdwriaeth.

II. Fod yn anmhosibl i unrhyw grefydd fod yn ddwyfol oddi eithr fod ei meddiannydd yn mwynhau *datguddiadau uniongyrchol ei hunan*

III. *Ffydd* yn nhystiolaeth tystion *byw* i gredu yn modoldeb Duw Dad, yn nghroeshoeliad, adgyfodiad, ac esgyniad ei Fab Ef Iesu Grist i'r nef, yn ddigonol Waredwr, i gredu ac ufyddhau i'w holl orchymynion, ac i gredu hefyd yn nerthol weithrediadau ei Ysbryd Glân yn ol ei addewidion.

IV. *Edifeirwch* am bob drwg, a phenderfyniad i ymgadw oddiwrth bob peth sydd yn groes i gyfraith Duw.

V. *Bedydd mewn dwfr er maddeuant pechodau*, ac mai hon yw yr unig ordinhad a sefydlodd Crist er cael maddeuant.

VI. *Mwynhad presennol o daa ‹n yr Ysbryd Glân* trwy arddodiad dwylaw yr Henuriaid,—megys tystiolaeth yr Ysbryd o gymmeradwyaeth Duw,—prophwydoliaeth,—llefaru â thafodau dieithr,—cyfieithiad tafodau,—cael gweledigaethau, ac iachâu cleifion crediniol trwy arddodiad dwylaw a gweddi y ffydd, a chael pob dadguddiadau anghenrheidiol er cadwedigaeth.

VII. *Dirywiad hollol yr holl fyd* oddiwrth burdeb yr efengyl, a'i amddifadrwydd o deyrnas Dduw er's oesoedd.

VIII. *Adferiad trwyadl Teyrnas Dduw i'r ddaear*, o ran ei swyddau, ordinhadau, athrawiaethau, dyscyblaeth a bendithion fel ei sefydlwyd gan Iesu Grist ei Phen, yr hyn a brofir gan gannoedd o filoedd o dystion cywir trwy y byd, gan amryw filoedd trwy Gymru, a rhai yn eich plith.

IX. *Ymgasgliad* plant Duw ynghyd i'r fan o'r ddaear a appwyntiwyd ganddo Ef, i gael eu dysgu yn fanylach yn nghyfraith yr Arglwydd, i adeiladu Seion, ac i gael gwaredigaeth rhag yr heintiau, y plaäu, y rhyfeloedd sydd eisoes yn dechreu drwy'r byd, y newynau, daeargrynfäu, ymrysonau, a'r gyflafan erchyll sydd eisoes wrth y drws, ac a ddaw fel dialedd y Goruchaf ar warthaf gwrthodwyr yr efengyl hon.

X. Pregethau ar amrywiol athrawiaethau mawreddog, megys Adgyfodiad y corff i fywyd.—Adgyfodiad i'r ail farwolaeth.—Adferiad pob peth.—Teyrnasiad personol Crist ar y ddaear am fil o flwyddi.—Rhwymiad Satan.—ei ollyngiad, a'i dynged dragywyddol.—Diwedd yr annuwiolion.—Y Nef newydd a'r ddaear newydd, &c., &c.

Ddarllenydd! tyred, meddir etto, a gwrando drosot dy hun, fel y gelli iawn farnu y *gwirioneddau* hyn, eu deall, ufyddhau iddynt, a mwynhau eu haddewidion,

Yw taer ddymuniad,

————, Llywydd y Gangen.

---

D.S. Mae pregethu yn Neuadd y Saint yn ————, bob Sul am 11 o'r gloch y boreu, ac am 6 yn yr hwyr. Parod y'm b regethu yr amser a ddewiso y neb a'n gwahoddo i'w tai.

---

☞ Meddwn amrywiaeth o draethodau ar yr holl egwyddorion uchod, &c., y rhai geir hefyd yn Swyddfa "Udgorn Seion," Abertawy, am wahanol brisiau, ac hefyd gwrthbrofion a foddlona bob dyn gonest, i'r cam-gyhuddiadau a daenir am danom ni a'n crefydd, hyd a welsom.

---

## LLYTHYR Y BUGAIL J. PARRY.

*St. Sior, Medi* 11, 1854.

Mr Gol.,—Yr wyf yn meddu gobaith cryf y cawn bob dyledion am lyfrau, &c., i mewn yn fuan trwy Gynnadleddau y Gogledd. Cymmerasom hyny dan sylw yn mhob Cymmanfa, a phawb o'r bron yn cymmeradwyo i osod cynllun i ryddhau y Cynnadleddau o bob dyledion.

Y mae yma yn y Gynnadledd hon lawer iawn o bregethu hyd y tymmor, a phawb yn teimlo yn dda a phenderfynol i beidio diffygio, gan hyderu y caiff pob un fedi o ffrwyth ei lafur Mae yma bawb o'r bron mor ymdrechgar ag y dymunech i'w gweled, ac y maent yn teilyngu cael eu canmol. Nid oes dynion mewn llan na lle am rai milltiroedd oddiamgylch y Cangenau, ar nad ydynt yn cael clywed yr Efengyl, ac y mae gwrandawiad da yn gyffredin, a llawer o bleidwyr ac amryw yn credu, a diau pan y clafycha Seion, yr esgorir arnynt i deyrnas Dduw, a hyny ydyw ein gweddi a'n dysgwyliad.

Y mae Cynnadledd Dyffryn Conwy yn gyffelyb yr un modd,—pob peth mewn trefn dda, a phawb yn ymdrechu cario gwaith Duw yn y blaen. Cawsom Gymmanfa dda iawn yno, ac y maent yn addaw gwneuthur ymdrech i ddyfod yn rhydd o bob hen ddyledion, &c.

Mae undeb da trwy y Gogledd yn gyffredinol, ond ychydig o fedyddio, etto y mae rhai wedi cael eu bedyddio yn mhob Cynnadledd y tri mis diweddaf. Yr wyf yn credu y bydd mawr lwyddiant ar waith yr Arglwydd yn Nghymru o hyn allan.

Ydwyf eich cyd-was yn Efengyl Crist,

John Parry.

---

## YR "EURGRAWN "YSGRYTHYROL!"

"Y *Llywydd Jones*,—Mae ymholi yma a thraw pa bryd y daw yr "Eurgrawn Ysgrythyrol" allan etto, os ydych am ddyfod ag ail argraffiad o hono ef hefyd, ac a werthwch chwi ef yn rhifynau fel ar y dechreu? Os gwnewch hyny, hysbyswch drwy yr Udgorn; canys credaf y byddai pawb yn falch o glywed fod y fath Lyfr i'w gael, a chwyna aml un ei golled na fuasai wedi sicrhau copi iddo ei hun, ac un i bob un o'i

deulu mewn pryd; ac nid rhyfedd hyny, canys dywed rhai fod yn hawddach bod heb feibl nag hebddo ef. "R. EVANS."

---

ATTEBWN, y fod genym gannoedd o'r argraffiad bychan cyntaf ar law er's blynyddau, ac y gall pob dosparthwr gael hyny a fyno o honynt ond anfon yma, yn rhanau neu wedi eu rhwymo, a gwyn fyd pe byddent wedi eu chwalu hyd y wlad, ac yn cael eu manwl ddarllen, fel y teilyngant, gan fyd ac Eglwys, yn enwedig gan y pregethwyr a'r sawl a ddysgwylia fod yn bregethwr rywbryd.

Pleser ein calon yw cymhell y Llyfr hwn yn daer i sylw y Saint; ac etto gofynwn gan ein Llywyddion ei gymhell, a chael gan eu gwahanol Ddosparthwyr anfon am danynt, a'u cymhell i bawb, canys ni allant beidio a bod o fawr les a bendith i bob un a'u darllenont. Yr ydym wedi synu llawer beth a all fod yr achos na fuasai ychwaneg o brynu ar yr "*Eurgrawn!*" Dylasai yr argraffiad bychan a gyhoeddwyd fod wedi ei werthu er's blynyddau, os yw ein chwaeth ni yn unrhyw safon debyg i'w le; tra, yn lle hyny, nid y'm yn credu fod hanner, nac un o bob hanner dwsin o hyd y nod *Pregethwyr* y Saint yn ei feddu, a channoedd o frodyr hebddo, lle, os caniateir i ni farnu, na ddylai fod un hebddo. Galwasom sylw ato ar ddechreu y flwyddyn hon, gostyngwyd ei bris; etto, meddwn, gellir ei gael wedi ei rwymo, neu yn rhanau yn ol y gostyngiad addawedig. Yn awr yw yr amser i sicrhau copi o hono, canys nid tebyg yr argraffir ef yn fuan. Na choller y cyfleusdra!

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MEDI 23, 1854.

NEWYDDION CARTREFOL.—*Dwyr. Morganwg.*—Mae y Llywydd Evans yn obeithiol iawn o faes newydd ei lafur, ac yn cael argoelion gobeithiol, ac undeb rhagorol yn y brodyr i dalu eu

hen ddyledion. Da iawn fyddai genym glywed fod pob Llywydd yn gallu dweyd yr un peth.

Ysgrifena yr Henuriad David Williams o Bontypridd, Medi 12, newyddion cysurlawn; dywed fod Saint y Fro a'r cylchoedd lle y teithia, yn cynnyddu mewn ffyddlondeb a phob duwioldeb; bedyddiwyd dau yn gyhoeddus dydd Sul diweddaf, a dau y Sul blaenorol, yn Ngwaenyrerw, yn ngwydd llawer o edrychwyr parchus. Bedyddiwyd 5 yn Pontypridd dydd Sadwrn, un y dydd hwnw, ac addawsai dau ufyddhau dranoeth. "Maent yn parhau i fedyddio yn Nghaerdydd a'r cylchoedd," ebe fe, "clywais yn y Cynghor diweddaf am bedwar a fedyddiasid. Aeth Henuriad allan o'r cwrdd ar gais un i'w fedyddio, ac yr oedd tri wedi cael eu bedyddio dydd Mercher. Mae y Saint yn gofyn yn barchus iawn am danoch, ac yn awyddus iawn am eich gweled yn mhob man lle yr âf, ac felly finnau eich anwyl Frawd." Onid ffrwyth yr ymdrech diweddar a wnaed i ddosparthu traethodau yn y manau hyny yw hwn? Diolchwn am deimladau caruaidd y Saint atom bob amser, ac ystyriwn ef yn werthfawrocach nag aur lawer, a melysach eu cwmnïaeth nâ gwleddoedd mawrogion byd; er hyny, arall alwadau a'n hamddifadant am enyd o'u hoff gyfeillach. Ein Duw a'u llwyddo ar eu canfed.

*Sir Fynwy*, Ebe y Llywydd Giles, sydd ar gynnydd parhaus, undeb rhagorol i ddosparthu traethodau, arwydd sicr o lwyddiant buan yw hyny; ysbryd traethodu yw rhag-redegydd bedyddio genym ni. Argoel dda arall yw gweled awydd yn y Swyddogion am ddyfod i'r Cynghor, a bod mewn undeb a chariad yno, fel y dywed y Llywydd Giles eu bod acw wrth y 46 o Henuriaid, heblaw ereill; nid all y fath fintai mewn undeb lai nâ dwyn effaith ganfyddadwy, ond ymdrechu. Ceir addunedau siriol yma hefyd i dalu dyled y Gynnadledd, wrth wneuthur yr hyn sicrheir cymmeradwyaeth y nef a'i bendithion cyferbyniol. Henffych i'r Jubil ddydd pan y bydd pob Cangen o Eglwys ein Duw mor rhydd o ddyled ag yw rhai yn awr drwy ymdrech canmoladwy.

*Gorll. Morganwg.*—Mae ymroadau adnewyddol a sŵn hogi arfau at y cynheuaf mawr ac addfed yn mhob cŵr o'r Gynnadledd hon, a'r *Camp Meetings* yn llesiol iawn. Dyll effeithiol i gael gwrandawiad yw i nifer o Gangenau ymgyfarfod i fanau

nodedig, a phregethu allan; os mewn doethineb y perswadir mwy ar y bobl i ufyddhau, a pheidio bod yn rhy barod i'w rhoddi i fyny, a chyhoeddi y "*mene tekel.*"

*Llanelly.*—Mae ymroad canmoladwy iawn yn y brodyr hyn i ddosparthu traethodau; dywed y Llywydd eu bod wedi gwerthu eu hunain allan o *stock* yn llwyr, ac yn galw am amryw filoedd ereill gyda ffrwst mawr! Am y mwyaf, ynte! Pwy a enilla y "wobr," ac a wna fwyaf o les? Gyrfa i'w rhedeg yw yr eiddom, i *redeg* ac nid segura.

*Caerfyrddin.*—Yma hefyd mae yr hauwyr ar ddihun yn hau yr hâd da, a dysgwylir cnwd toreithiog o bobl Sir Gaerfyrddin i ufyddhau i alwad olaf ein Duw cyn hir, ac y mae awydd lon'd ein bryd weled tyrfa o honynt ar Fynydd Seion, cyn y daw y dyddiau dialedd ar yr anufyddion.

Cysura y Llywydd Jeremy ni â newyddion am Gymmanfa ragorol a gynnaliwyd yn Llanymddyfri ar y 3ydd o'r mis hwn. "Yr oedd amryw gannoedd yn gwrando yn siriol, a'r Ysbryd Glân yn nerthol ar y brodyr wrth bregethu:" cynnyddu a wnelo.

*Sir Feirionydd.*—Cynnaliwyd Cymmanfa yn Nhowyn, Meirionydd, Sul y 3ydd, pryd y cynnrychiolwyd 6 cangen, 15 Henuriad, 8 Offeiriad, 3 Athraw, 1 Diacon, 3 wedi eu bedyddio, a'r cyfanrif yn 72. Hysbysir ni gan y Llywydd J. Davies:—"Ni a gawsom addysgiadau da gan y Llywydd Daniels, y Bugail John Parry, a'r Llywydd R. Roberts, ac amrywiol frodyr ereill. Cafwyd o ddylanwadau Ysbryd Duw yn helaeth, a gwrandawiad parchus iawn, ac undeb a chydweithrediad o blaid yr oll a wnaed, a phenderfyniad cadarn ac unfrydol i gael mwy o lwydd ar waith yr Arglwydd o hyn allan. Mae tri o'r gwirfoddoliaid, sef yr Henuriaid H. Parry, Ajax, a Lewis, yn ddiwyd a ffyddlon i bregethu y genadwri rasol i'r byd, gyda dylanwad cryf.

*Dyffryn Conwy.*—Cynnaliwyd Cymmanfa yn Eglwys Fach, Awst 27. Yn bresennol o ddyeithriaid y Llywydd Daniels, J. Parry, &c. Cynnrychiolwyd 5 Cangen, 19 Henuriad, 6 Offeiriad, 4 Athraw, 3 Diacon, 2 wedi eu bedyddio, a'r cyfanrif yn 92. Cymmeradwywyd yn ddieithriad holl swyddau yr Eglwys drwy y byd. Sefydlwyd Cangen yn Conwy yn cynnwys 10 o aelodau, ac etholwyd Wm. Davies, Ieu., i'w llywyddu. Gal-

wyd un Athraw, ac un Diacon. "Cafwyd cyfarfodydd da a phregethau llesiol gan y llywyddion a enwyd." ebe W. Davies, ysgrifenydd.

*Sir Ddinbych*,—A gynnaliodd ei Chymmanfa yn Newmarket, Awst 20,. Cynnrychiolwyd 16 Henuriad, 6 Offeiriad, 5 Athraw, 2 Diacon, 3 wedi eu bedyddio, 120 o gyfanrif. Dyna'r oll a glywsom, eithr deallir wrth lythyr dyddorol yr Henuriad J. Parry yn y rhifyn hwn pa fodd y teimla Saint y cylchoedd hyny.

---

*At Lywyddion y Cynnadleddau.*—Coffhawn chwi fod y chwarter hwn yn diweddu gyda y mis hwn, ac o ganlyniad, crefwn eich sylw yn brydlon at yr hyfforddiadau a gyhoeddasom yn rhifyn 22, tud. 350, o'r UDGORN. yn y gyfrol hon, a thaer erfyniwn arnoch i efelychu eich prydlonrwydd a'ch manylrwydd ar ddiwedd y chwarter blaenorol, ac yn *fwy felly* os gellwch. Cofier fod y cyfan i fod yn Liverpool y dydd olaf o'r mis!

---

*Dyledion am Lyfrau!*—Drwg genym *orfod* galw sylw ein brodyr Llywyddol at y ddyledswydd bwysig ac arbenig o dalu mwy o sylw at ddosparth y llyfrau, a chrefu arnynt weled fod yr arian dyledus i'r ddwy Swyddfa yn treiglo yno dipyn cyflymach neu amlach, canys cynnyddu mae y ddyled o hyd ac yn gysson, yn enwedig ar rai Cynnadleddau, hyd nes y mae wedi *mwyhau* eleni yn agos i gant o bunnoedd eisoes! yn lle *lleihau* hyny o *leiaf*, neu ychwaneg, fel y gallesid ei resymol ddysgwyl! Mae yn rhaid fod bai yn rhywle, pan y mae Cynnadleddau heb dalu dim, neu nesaf peth i hyny, er's chwarteri yn olynol. Y mae y Llywydd a adawo i'r fath esgeulusdod barhau yn fyr iawn o lanw ei gylch Llywyddol, ac fe'i siomir os dysgwylia i ni ei esgusodi ar gost ei Ddosparthwr, o herwydd mai ag ef y mae a wnelom ni, cofier; ei waith ef yw edrych at ei Ddosparthwr, a gweled fod arolygwyr arno bob chwarter yn fanwl. Frodyr, a gaiff yr awgrymiad bach hwn ei effaith i beri i'r arian dyledus ddyfod yma erbyn diwedd y chwarter hwn? Beth meddych? Amser byr a ddengys! Credwn y gwnaiff y tro heb fod yn fwy personol yn bresennol.

---

CREULONDEB YR ELLMYNIAID.—*Carcharu am grefydd, &c.*—Deallwn drwy lythyrau diweddar fod y brodyr G. C. Riser, a

Nielson wedi cael eu carcharu, Awst 13, am bregethu yr efengyl yn nhref Hamburg, a chawsant eu cau mewn daear-dŷ brwnt am rai wythnosau; o'r diwedd galwyd yr holl Saint ag oedd yn yr holl gylchoedd hyny ynghyd i'r llys i glywed rhaith y Llys ar eu blaenoriaid, sef carchariad pedwar yn ychwanegol o'u swyddogion, a hyny yn unig o herwydd iddynt agor eu tai i bregethu ynddynt, a gorfuwyd y dyoddefyddion i dalu holl gostau eu cospi hefyd! Dygwyd eu llyfrau oddiwrthynt, ac alltudiwyd y Mormoniaid o'r wlad, "am eu bod yn beryglus i'r llywodraeth." Drwy ddylanwad y Meistri Morris, & Co., symudwyd y carcharorion cyntaf i garchar glânach, a dyblwyd eu hamser i fod yno. Er hyny oll, da genym ddeall fod y brawd Riser wedi dyfod yn rhydd o'u bachau hwy oll, a thirio yn Liverpool yn iach a chalonog. Da yw i'r Saint yn mhob gwlad mai y Duw Hollalluog yw eu Tad, onite difodasid hwy o'r byd hwn er's tro bellach; ei freichiau tragywyddol am danynt a fones achub yr holl onestion.

---

*Y Taflenau Cyfrifiadol.*—Tebygwn fod pob Llywydd wedi gweled y Taflenau cyfleus hyn a wnaethom, er cynnorthwyo i gasglu, a chadw cyfrifon y casgliadau at bob achos yn drefnus a chywir. Maent yn gyfaddas i bob Cynnadledd a phob Dosparth, ac y maent yn rhatach a gwell na dim arall a allwn lunio i'r perwyl hyny; ac felly cymhellwn hwynt i sylw pob Cynnadledd. Anfoner am danynt yn brydlon cyn bo eu heisieu, fel y caffom amser i'w gwneuthur. Parha yr un gyntaf am fis i gasgliadau wythnosol, yna adnewydder gan un arall, a throsglwydder y cyfanswm ar gyfer enw pob cyfranwr ar lyfr y Gangen. Mae y drydydd Daflen wedi ei gwneuthur i dderbyn casgliadau pump wythnos olaf y chwarter; ac felly, cedwir coffadwiaeth o weithredoedd personol pob un at bob cymdeithas a chasgliad ar lyfr y Gangen, a darllener hyny yn nghwrdd Saint y Gangen, o leiaf unwaith bob chwarter, ac os bydd camsynied, yr hyn gyda gofal nid hawdd y bydd, gellir ei adgyweirio yn y fan. Eu pris yw 2s 9¾c y cant, neu un geiniog i bob Dosparth o ugain o bobl, bob chwarter! I'r sawl a iawn ystyria y pwysigrwydd o groniclo ei weithredoedd i ddyfod i'w wyneb ef a'i achau ar ei ol yn "Llyfr cyfraith yr Arglwydd" yn Seion—ac a iawn ddeallo mai yn ol ei haelioni

at achos Duw y bydd haelioni Duw ato yntau, nid rhaid dweyd chwaneg ar hyn; nac wrth y Llywyddion a iawn ystyriant y pwysigrwydd o iawn drefn a manylrwydd, ac o wneuthur cyfiawnder â"r cyfranwr o bob achos nid rhaid i ni ymhelaethu er eu cael hwy oll i undeb a chydweithrediad yn y peth hyn hefyd, debygwn.

---

## NEWYDDION O UTAH.

HYSBYSA y "*Deseret News*" am Gorphenaf y 6fed ni fod Cymmanfa wedi cael ei chynnal yn Ninas y Llyn Halen Mawr ar y 27 a'r 28 o Fehefin, eithr ni ddyry fanylrwydd o'i chofnodion, dysgwyliwn hyny cyn hir. Etholwyd y personau canlynol i genadiaethau; yr Henuriaid John Taylor i Gaerefrog Newydd, N. H. Felt, A. Robbins, J. Clinton, M. H. Peck. ac A. Lamb i fyned gydag ef. John Young i'r Taleithiau, L. Brunson i Dalaeth Michigan; Preston Thomas ac E. B. Trip i Texas; E. Whiting i Ohio, a James Craig i'r Iwerddon. Etholwyd John mab hynaf Hyrum Smith i fod yn Batriarch ar Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf. Cynghorodd y Llywydd B. Young yr Esgobion i ddarparu coed a defnyddiau ereill er adeiladu hâf-dŷ a gynnwysai o ddeg i ddeuddeg mil o bobl yn gysurus erbyn anrhydeddiad y 4ydd o Orphenaf.

Mae y "Deseret News" wedi dyfod allan mewn gwisg gartrefol—wedi ei wneuthur gartref, o ddefnyddiau hen ddillad a wisgasid yn garpiau rhwng y mynyddoedd creiglyd, ac wrth ystyried mai hwn yw y papyr cyntaf a wnaethpwyd yn y Dyffryn, ynghyd a'r anfanteision i'w wneuthur, ni ellir beio arno. Henffych i'r dydd y bydd Utah mor anymddibynol ar y byd am bob nwyfau ag y byddant am bapyr tra y gellir gwneyd cystal â hwn, a llwyddiant i'r anturwyr diwyd yn eu hymgeisiadau i hyny, meddwn ni. Yr Adrhydeddus Elias Smith yw prif Swyddog y llythyr-doll, yn lle y diweddar drengiedig W. Richards. Mae y Llywydd Young wedi gwneuthur trowen fâd, yn 46 troedfedd o hyd, i drosglwyddo nwyfau ar hyd y Llyn Halen Mawr; gweithir ef gan beiriant ceffylau am yr amser presennol.

Dechreuodd y brawd Kennedy fedi ei wenith heddyw, y 6fed. ac y mae ganddo bump erw yn addfed, heblaw llawer chwaneg a

fydd yn aeddfed yn fuan. Yr ymfudwyr i California, a'r dyeithriaid oedd yn y ddinas a synent yn fawr, wrth garedigrwydd y Saint yn eu gwahodd hwy oll i fwynhau o ddanteithion eu gwleddoedd ar y gwyl-ddydd, sef y 4ydd o Orphenaf.

Tiriasai pedwar o fasnachwyr yn y ddinas eisoes, ac wrth eu sodlau werth dros filiwn o ddolars o nwyfau a marsiandiaeth i'w gwerthu yn Utah.

---

## Y SAINT YN BABILON.

Pwy sy'n cael eu diystyru
Yn Babilon?
Neb yn fwy na Saint yr Iesu,
Yn Babilon:
Cael eu galw yn Sataniaid,
Twyllwyr drwg, a phechaduriaid!
Dyma ran yr Israeliaid
Yn Babilon.

O'r fath wawdio mawr sydd arnynt,
Yn Babilon,
Am fod y gwirionedd ganddynt,
Yn Babilon!
Dyma gyflog i bregethwyr,
Sydd yn credu'r holl ysgrythyr,—
Cael eu cablu gan grefyddwyr,
Yn Babilon.

Beth gan hyny ddaw i ddynion,
Yn Babilon,
Sydd yn cablu Duw a'i weision,
Yn Babilon?
Dwyn i gof o dan y gafod
Fydd i'r rhai sydd 'nawr yn gwrthod,
Pan fo Duw yn cospi pechod,
Yn Babilon.

E. SUMMERS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Yn awr yn y Wasg,—Y '*Gwahoddiad*' a welir yn y rhifyn hwn, ac sydd yn aros i Lywyddion y Cynnadleddau anfon i ni enwau y lleoedd pregethu, enwau Llywyddion Cangenau, a'r nifer a fynir i bob Cangen, yr hyn a erfyniwn gyda brys. Eu pris gwerthu fydd 2s y cant. Rhâd ydynt,—crfraner yn rhâd hyd nes y deallo pawb pa le y gallant glywed pregethu efengyl Crist yn ei phurdeb! Pa sawl mil a fynir?

Cymmanfaoedd.—Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg ar y laf o Hydref, Brycheiniog ar yr 8fed, Mynwy ar y 15fed, Gorllewin Morganwg ar yr 22ain, Llanelli ar y 29ain, Caerfyrddin ar y 5med o Dachwedd, Aberteifi ar y 12fed, Penfro Ogleddol ar y 19eg, a Phenfro Ddeheuol ar y 26ain.

☞ Ein symudiad o Ferthyr i Abertawy a barodd i rai sypynau o'r *Star* a'r Udgorn fethu cyrhaedd pen eu taith yn brydlon i rai manau, eithr o hyn allan hyderir y byddant yn adnabod eu llwybr a'u hamser.

☞ Crefwn sylw at yr "Hysbysiad i Ymfudwyr," yr hwn a ddaeth ond braidd yn brydlon i'r rhifyn hwn; caiff ein sylw ond odid yn y nesaf, hyd hyny ymbarotoer!

Cyfarwyddyd.—Mr Dewi Elfed Jones, No. 12, Carmarthen Buildings, High Street, Swansea.

☞ Cofier mai George W. Davies yw Prif Ddosparthwr Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg.

---

Derbyniadau am Lyfrau o Awst 31 hyd Medi 13.—Morganwg Ddwyreiniol, £7 10s 5½c; Morganwg Orllewinol, £4; Sir Ddinbych, 7s; Cangen Gymraeg Liverpool, £1 10s.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION.

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 33.] TACHWEDD 7, 1854. [CYF. VII.

## LLYTHYR Y LLYWYDD KIMBALL AT EI FAB YN LLOEGR.

*(Allan o'r "Millenial Star.")*

*D. Ll. H. Mawr, Meh.* 29, 1854.

FY ANWYL FAB WILLIAM,—Yr oedd ein Cymmanfa yn lled fawr, a'r gynnulleidfa yn gyffredin oeddynt o'r sefydliadau yn eithaflon y Deau hyd eithafion y Gogledd, ac yn gyffredin, dygasant lawer o ddegwm o ymenyn, caws, a phethau ereill, mewn atebiad i'm galwad arnynt yn y Gymmanfa o'r blaen. Ni amlygwyd gwell teimladau, na gwell ysbryd, er pan y daethom rhwng y mynyddau. Ni pharhauodd y Gymmanfa ond dau-ddydd, o herwydd gwresawgrwydd y tymmor, ac am nad oedd y Tabernacl yn hanner digon eang i'w cynnwys. Fe dreuliwyd yr amser gan mwyaf mewn addysgu, pregethu, ac adrodd hynodion Joseph, a'i ymddygiadau hyd ei farwolaeth. Ni threfnwyd nemawr fusnes heblaw penodi deg neu bymtheg o bersonau i fyned ar genadiaethau

Cyn belled ag y perthyna i'n teulu ni, mwynhant iechyd ac ysbryd da, a digon i fwyta, yfed, a gwisgo.

Byddwch sicr ein bod yn eich cofio yn ein gweddiau, ynghyd a'r holl ffyddloniaid yn mhlith pob cenedl, ac ar Ynysoedd y Môr ; ac ymlawenhawn yn fawr yn eich ffyddlondeb chwi, a'r brodyr a aethant gyda chwi, ynghyd a'r rhai a'ch efelychant, y dangoswch eich cymmeradwyaeth fel dynion Duw, yn eich

dyfodiad i mewn a'ch mynediad allan, pan y gorphwysoch a phan y cyfodoch, canys bydd hyn yn anrhydedd i'ch tad yn Israel, ac i'ch arweinyddion; canys ni adawsant hwy erioed yr un ystaen o'u hol, ac na ato Duw y gwna ein plant, na neb o'n hanwyl frodyr hyny. Anrhydeddwch eich Offeiriadaeth, a mawrygwch eich aelodiaeth, a'ch galwedigaeth yn Eglwys Iesu Grist, Saint y Dyddiau Diweddaf, ac yn nheyrnas ein Duw ni; a'r Offeiriadaeth a'r aelodiaeth yna a'ch anrhydedda, a'ch dyrchafa, ac a'ch gwna yn nerthol yn nhŷ Israel, ac yn ffynnonell cysur i'w bobl Ef. Byddwch ostyngedig, gweddigar, cymmwynasgar, cariadlawn, a thrugarog, a chewch drugaredd; a'r hyn a ddywedaf wrthych chwi, a ddywedaf hefyd wrth holl Henuriaid Israel yn yr hen fyd, a phawb a gredant eich geiriau, a'u heiddo; canys yr Arglwydd Dduw a'ch bendithia; a phawb a wnelont ei ewyllys Ef, a gadwant ei orchymynion, ac a wrandawant ar ei lais, a allant ymddibynu fod ei angylion o'u blaen ac o'u hol hwynt, ac na adewir hwynt yn y byd hwn, nac yn y byd a ddaw, ac ni fydd eisieu ar eu teuluoedd, eithr cysurir hwy nos a dydd. Yr Arglwydd a ddanfona ei angylion i wylied drostynt, cyhyd ag y gwnelont ei ewyllys, cyhoeddi ei air, a thystiolaethu dros ei enw i genedloedd y ddaear am y pethau hyny a wyddant yn sicr, a welsant, a drafodasant, a deimlasant, ac a brofasant drostynt eu hunain.

Bu ein tymmor yn oeraidd a gwlawiog, gydag ychydig eira a chawod o genllusg, yr hon a niweidodd lawer o lafur—gorlifodd y gwlaw a lifodd o'r mynyddau amryw erddi, a gwnaeth gryn niwed iddynt yn y Ddinas; boddwyd dau o blant ag oeddynt yn bugeilio, gan y llifogydd a ruthrasant allan o Bute Kanyon—dygwyddodd yr oll o fewn un awr. Ni wybuwyd y fath storom oddiar ein dyfodiad i'r mynyddau. Ni fu aber y Ddinas mor arw arnom y tymmor hwn ag o'r blaen; er hyny yr oedd yn arw ar ddydd y storom, sef dydd Mawrth, Mehefin 13, am hanner awr wedi tri y prydnawn.

Mewn perthynas i'r cnydau yn y wlad hon, y mae gwell argoelion am wenith a llafur, cloron a gwyrddlysiau ereill; y maent yn frasach nag yn un flwyddyn flaenorol. Y mae yn debyg y torrir peth gwenith mewn ystod pythefnos. Ni ragorwyd erioed ar y borfa sydd yn y dyffrynoedd ac ar y mynyddau.

Edrycha yr anifeiliaid yn dda, ac y mae pob peth yn ffynu. Y mae adeiladau yn myned rhag eu blaen yn llawer cyflymach nag yn unrhyw flwyddyn oddiar pan y daethom i'r mynyddau. Adeiladwyd amryw ystordai newydd, un gan yr Henuriad Hyde, ac amryw gan ereill. * * *

Gorphenir mur amgauol y Deml yn mhen tair wythnos neu fis. oddeithr y pyrth. Dechreuasom ar yr 16eg o Fehefin i osod sylfaen y Deml, a gwnai i'ch calonau lamu o lawenydd, a'ch tafodau i floeddio, wrth weled y creigiau anferth yn treiglo i'w lle eu hun, gan fod genym 40 o weddeuau yn llusgo cerrig mawrion, ac yn cludo bob i ddau lwyth y dydd. Ymddengys fel pe yr ymsymmudai pob peth gyda grym daublyg i'r hyn a wybuwyd erioed yma; y mae pob dyn yn ddiwyd, ac yn teimlo ei gyfrifoldeb yn fwy nag yn un amser blaenorol. Yr ydym yn cael amser da, heb un segur-ddyn yn ein heolydd, ac yn y nos ni chlywir braidd gyfarthiad ci, ac y mae pob peth yn deg, sefydledig, a thawel, a gweddiau dyddiol y Saint dros lwyddiant achos Duw, a lleshâd ei weision ar wyneb yr holl ddaear.

Y mae iechyd y Llywydd Young yn dda, ac y mae mewn ysbryd rhagorol, ynghyd a'i Gynghorwyr, y Deuddeg, a'r holl Offeiriadaeth. * * * *

Mae y Llywyddion Young, Grant, a minnau yn bwriadu myned i enau cwm Provo, a gwneyd heol newydd oddiyno i Fort Supply, ar hyd yr hon y tramwya ein hymfudiad presennol, yr hon a'u harweinia yn nes i ganol y wlad, lle cânt ddigon o borfa i'w hanifeiliaid, a lle y medrant ymledaenu i'r gogledd neu'r deau yn well.

Mae y Llyn Halen a'r Iorddonen yn uchel anarferol yn bresennol.

Yr ydym wedi parotoi i gadw gwyl ar y 4ydd o Orphenaf, nid dros y genedl hon, eithr i adgoffa am, ac i anrhydeddu ein cyn-deidau, y rhai a ennillasant annibynrwydd, i gyflawni y dybenion eu bwriadwyd gan yr Hollalluog.

Dywedwch wrth yr holl frodyr fod eu teuluoedd mewn iechyd ac ysbryd da. Gwelais y mwyafrif o honynt, a chlywais oddiwrth ereill. Cofiwch fi yn fwyn a charedig at yr holl gwmpeini, a'r holl Saint, yn frodyr a chwiorydd yn yr hen

Loegr; a dywedaf Duw a'ch bendithio oll, ynghyd a'r holl Saint yn y wlad yna. a thrwy y byd.

Ydwyf, fel arferol,

Eich caredig dad yn Nghrist,

HEBER C. KIMBALL.

---

## DESGRIFIAD O'R DEML.

Dinas y Llyn Halen Mawr, Gorph. 31, 1854.

ANWYL FRAWD FRANKLIN,—Yr oedd gwyl y 24ain o Orphenaf yn olygfa ardderchog anarferol; o'm rhan i, fy opiniwn milwraidd i yw, *na chafwyd erioed* dyrfa fwy golygus, llawen, a threfnus o fechgyn a merched, yr hon oedd agos a llenwi y Tabernacl ei hunan. Ar y diwedd cydsyniodd pawb yn unfrydol i adeiladu Tabernacl ddigon eang i gynnwys deuddeg mil o bobl.

Mae y tywydd wedi bod yn lled wresog, ac y mae y cynhauaf yn agoshau yn gyflym. Yr oedd y cnydau yn deg iawn yn sefydliadau Cedrwydd a Pharowan.

Gan ystyried y byddai desgrifiad byr o faintioli y Deml yn gymmeradwy, aethum i Swyddfa y Portreadydd, a chefais y brasluniad a ganlyn:—

Sylfaen y Deml sydd 193 troedfedd, o ddwyrain i orllewin drwy ganol yr adeilad, yn cynnwys sylfaen y muriau; 126 o'r gogledd i'r deau trwy ganol y tyrau, yn cynnwys sylfaen y muriau.

Mae yr ystafell isaf yn 119 troedfedd wrth 79, y mur yn yr ochrau gogleddol a deheuol yn wyth troedfedd o drwch, wedi eu cyfnerthu â nifer o golofnau; y ffenestri yn hanner cylch. Yn y canol gosodir y bedyddfan yr hon a fydd yn 58 o droedfeddi ysgwar, gyda Swyddfäau i'r Ysgrifenwyr, ac ystafelloedd cyfaddas i wisgo. Trwch y sylfaen-fur yn y gwaelod fydd 16 troedfedd, yn culhau yn raddol o bob ochr hyd 8 troedfedd ar gyfer y llawr isaf, 16 troedfedd islaw, ac 8 troedfedd yn uwch na gwyneb y ddaear, yr hyn a wna uchder y mur meini o'r gwaelod yn 24 troedfedd.

Mae yr ail lawr yn 120 ei hyd wrth 80 yn y gwagder, yn

fwaudog uwchben, a'i uchder yn y canol yn 35 troedfedd, y waliau yn 7 troedfedd eu trwch, a dwy rhes o Swyddfäau ar yr ochr ogleddol a deheuol, 16 o nifer ar ganol y nenfwd, ac wedi eu goleuo drwy ffenestri hanner cylchog.

Mae y trydydd lawr yn 121 troedfedd ei hyd, 81 ei led, 35 ei uchder, y waliau yn 6 troedfedd eu trwch, a 16 o Swyddfäau ar ganol y nenfwd.

Codir y tô yn 8 troedfedd yn y canol, a gorchuddir ef â mettel.

Yn gerfiedig ar golofnau y llawr isaf mae darlun o'r ddaear, ac yn cyfnewid ei olygfa o'r dechreu yn y gongl dde-ddwyreiniol. Ar y pen uchaf i golofnau yr ystafell gyntaf, ac wedi ei cherfio mewn cerrig, cynnrychiolir y lloer yn ei gwahanol ymddangosiadau. Wedi ei gerfio mewn cerrig ar derfyniad colofnau yr ail lawr, gwelir yr haul yn ei holl ymddangosiadau, ac ar bob bonsang ar hyd ystlysau yr adeilad mae y blaned Sadwrn, ei modrwyau a'u lleuadau yn gerfiedig.

Esgynir i ben y pedwar tŵr ar hyd grisiau a droellant o amgylch colofn garreg yn 40 troedfedd o drwch; cynnelir pob tŵr gan bedair colofn wyth-onglog, y rhai a goronir â phinaclau; efelycha coronau colofnau y tyrau gymylau, oddiwrth y rhai tardda adlewyrchiadau. Ar dŵr y gongl orllewinol cerfir yr Arth Fawr yn cyfeirio at, neu mor agos y gellir at y Seren begynol. Coronir y tyrau â phinaclau gyda mur-ganllawiau yn ddosparthiadau, ac yn terfynu yn dŵr cogyrnog; dysga cerfiadau pob carreg wers foesol, a'r oll yn cyfarwyddo at y byd nefol.

Addurnir y muriau ar yr ochr ogleddol â 9 o golofnau a 9 ar yr ochr ddeheuol, ac addurnir y tyrau â 32 o golofnau; bydd pob colofn ochrog yn 100 troedfedd yn uwch na gwaelod ei bonsang.

Eisoes tiriwyd 16 troedfedd o'r sylfaen, ac y mae cannoedd o feini anferth wedi eu sylfaenu; greuan cymmysgedig â chymrwd yw y ddaear o dan y sylfaen, ac yn agos mor galed â chreigiau y mynyddoedd, a'r hyn a'i gwna yn gyfartal braidd â'i seilio ar y graig.

O dan arolygiaeth y fath ddyn cywrain, deallus, ysbrydoledig, ac o'r fath gynneddfau anghymharol o odidog ag yw y Llywydd Young, ynghyd a chynnorthwy yr Henuriad Truman

O. Angel, un o brif gywreinrwyr cefyddydol adnabyddus y byd, o dan gyfarwyddyd goleuni ysbrydoliaeth, dysgwylir y bydd y Deml fynyddig hon yn enghraifft ardderchocaf o gywreinrwydd celfyddyd o fewn y byd, ac fel y cyfryw a ddena sylw y byd dysgedig fel enghraifft o "*drefnusrwydd* celfyddydawl Mormonaidd;" ac i'r Saint bydd yn ganolbwynt eu hymgasglfa, lle y mwynhant ordinhadau yr Offeiriadaeth, a'u bedyddiadau dros eu meirw; hyd y nod y meddylddrych am yr hyn egwyddor ogoneddus a braint, a achosa i galon pob Sant i lamu o lawenydd, am ei fod yn byw ar y ddaear yn y dydd ag yr adferodd Duw ordinhadau ac awdurdod ei deyrnas i blant dynion.

Mae ein heolydd wedi bod er's rhai dyddiau yn llawn o bedrolfeni ac anifeiliaid Ymfudwyr—ambell ddydd gynnifer â chwech gwersyll, er hyny dywedir i'r brif ymfudiaeth fyned heibio ar hyd y ffordd ogleddol. Tiriodd wyth o Farsiandwyr a'u nwyfau, etto nid yw y brif osgordd wedi cyrhaedd.

Ymwelodd y ceiliog y rhedyn â rhai sefydliadau yn lliosog arw, a chwynir rhag eu difrodaeth o'r cnydau diweddar a'r gerddi.

Tiriodd y Brawd Isaac C. Haight yma o Parowan. Dywed fod waliau y ffwrnes haiarn newydd wedi cyrhaedd yr uchder o 16 troedfedd.

Yr eiddoch yn ffyddlon,

GEORGE A. SMITH.

---

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG,

A GYNNALIWYD yn Neuâdd y Llew Gwŷn, Merthyr, Sul, Hydref 1. Yr oedd yn bresennol Lywyddiaeth Cymru, yr Henuriaid C. G. Webb, a McAllister o Ddyffryn y Mynyddoedd ar ymweliad o Loegr, ynghyd ag amryw Lywyddion Cynnadleddau Cymreig, a llu o ddieithriaid.

Wedi dechreu fel arferol drwy ganu a gweddio, gwnaeth y Llywydd Robert Evans sylwadau yn debyg fel y canlyn:

Teimlaf i'ch hannerch fel ag y gwnaeth Paul i'r Corinithiaid gynt:—"Hefyd, yr ydwyf yn hysbysu i chwi, frodyr, yr efengyl a bregethais i chwi, yr hon hefyd a dderbyniasoch, ac yn yr hon yr ydych yn sefyll; trwy yr hon y'ch cedwir hefyd, o

ydych yn dal yn eich cof â pha ymadrodd yr efengylais i chwi," &c.

Gwyr y Saint iddynt dderbyn efengyl Iesu Grist, a'u bod yn sefyll ynddi, ac eu cedwir hwynt trwyddi ; ond y mae *os* yn bod ; ar ammodau yn unig eich cedwir; os ydych yn dal yn eich cof. Pan orlwythir y cof â gormod o wahanol bethau, rhaid i'r naill neu'r llall fyned dros gof. Ni ddylai y Saint gadw malais na drygioni yn eu cof, ynte, rhag iddynt anghofio â pha ymadrodd yr efengylwyd iddynt, a methu cael eu cadw, gan yr ymddibyna eu cadwedigaeth ar gofio. " Y mae fy nghof yn ddrwg iawn, nis gallaf gofio y cwbl!" Ni chedwir mo honot ynte. Pa un ai dy gof sydd yn gwneyd cam o honot ti, neu tydi o'th gof? Dylid ysgrifenu yn y cof yr ymadrodd a efengylir, fel na ddileir mo hono byth, ac nid ei daflu i fewn fel gwair o bigau. Llyfr yw y cof lle yr ysgrifenir dygwyddiadau, ac eu gwelir wed'yn. " Mi a ysgrifenaf ar," neu " a ddilëaf o lyfr fy nghoffawdwriaeth," meddai Duw. " Mi a ysgrifenaf ar lechau eu calonau hwynt." Ysgrifener ar lechau ein calonau ninnau heddyw yr ymadrodd a efengylir, gan i ni ddyfod yma i glywed, clywed er cofio, a chofio er gweithredu, a gweithredu fel y gweithiom allan ein hiachawdwriaeth; ac ni weithredwn heb gofio, o ganlyniad, *os* ydych yn dal yn eich cof eich cedwir yn unig.

Cynnrychiolwyd y Cangenau, y rhai oedd ar gynnydd yn gyffredinol, y rhai llesg a difater yn ymfywhau, a theimlo eu cyfrifoldeb, ac ymdrech cyffredinol i bregethu, traethodu, a bedyddio. Bedyddiwyd rhai ganol nos yn Georgetown, a bedyddiwyd amryw yn nghylchoedd Pontypridd, lle y dosparthwyd llawer o draethodau, gerllaw yr hwn le, sefydlwyd Cangen.

Penderfynant adeiladu Capel yn Nghangen Cwmnedd! Talwyd £9 15s o ddyled y Gynnadledd yn Nghangen Caerdyf, a phrynwyd a dosparthwyd gwerth £5 o draethodau gan eu Cymdeithas, a choronodd yr Arglwydd eu llafur â llwyddiant; arllwysodd o'i ffynnonell ddihysbydd ei ddoniau yn helaeth i'w plith, er cadarnhad i'w credinwyr, llawenydd i'w calonau, a gogoniant i Dduw.

Amlygwyd drwy gynnrychioliad Llywyddion y Cangenau fod undeb a sel frwdfrydig trwy yr holl Gynnadledd, hyn hefyd a brofid drwy weithredoedd cyferbyniol, y rhai a darddasant trwy yr holl le, fel egin gwanwyn neu flodeu haf, fel blaenffrwyth yr

hâd da a hauwyd drwy ymdrechiadau diflino y Llywyddiaeth flaenorol, a'r rhai a ddwfrheir ac a faethir mor dadol gan y Llywiaeth olynol hyd yn hyn.

Y Llywydd Evans a sylwodd fod rhyw ragoriaeth yn mhob Cangen, ac am i'r naill Gangen ddewis rhagoriaethau y llall i lanw ei diffygiadau ei hun.

WILLIAM LEWIS, *Ysgrifenydd.*

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, TACHWEDD, 7, 1854.

YMFUDIAETH.—Dysgwylia y Saint drwy Gymru am y tymmor ymfudol presennol gyda dyddordeb mawr. Yn gyferbyniol i gyflymdra ehediad y tymmorau ymfudol heibio y naill flwyddyn ar ol y llall y prysur gyflyma cerddediad y cwmwl beichiogaidd o uthr ffrewyllau Duw drwy awyrgylch gymmysglyd anufyddion i'w genadwri, bygwthion brawychaidd pa rai sydd yn amlygu awydd cynnyddol "plant y goleuni" i ymgasglu "i'w hystafelloedd am enyd fechan hyd onid elo y llid a'r aflwydd heibio." Yr ymholiad mawr ei bwys gyda y mwyafrif yw, "Pa bryd y caf fi fyned adref?" Edrycha llawer o Philosophyddion a dysgedigion y gwledydd, y rhai a frawychir gan rwysg heintiau a chlefydau, terfysgiadau gwledydd a sigledig goronau, tua'r cyfandir gorllewinol am noddfa rhag y drygfyd a ofnant; eithr dyben tra uwch a mwy mawreddog a sugna fryd a serch y Saint i adael gwlad eu tadau—dim llai nag ufydd-dod i alwad eu Tad i ymgasglu adref gyda ei ffyddlon deulu i ymbarotoi i gydfwynhau gwleddoedd a danteithion eneidiol "Swper neithior yr Oen."

Nid yn ofer yn ddiau y dysgwylia llawer wrth haelioni eu perthynasau a'u cyfeillion yn Seion am gludiad tuag adref yn nghôl y Gymdeithas Ymfudol Barhaus; mae annogaethau

mawr a mynych ein Hathrawon yn Seion i bawb goffo am eu cyfeillion sydd etto mewn caethiwed, drwy eu cyfraniadau haelionus i'r Gymdeithas yno, ynghyd a'u holl ofal tadol dros wasgaredigion Seion yn cymhell mewn uwch llef nâ sŵn geiriau i ymgalonogi, nad ydynt yn anghof,—i barhau i ddysgwyl,—fod y waredigaeth yn dynesu, ac i ymbarotoi erbyn y dydd,—y dedwydd ddydd a hir ddysgwyliwyd; mae yn nes, yn nesâu, ydyw i gannoedd os nad i filoedd ond odid eleni, y mae eisoes wedi dyfod!

O holl hynodion rhaglnniaethol eu Llywyddion dros y Saint nid y lleiaf dyddorol yw yr ymfudiad presennol i'r Taleithiau Unol: amlwg yw y gall llaweroedd fyned hyd yno nad allant fyned yn mhellach, ac na allant mewn blynyddau trwy gynildeb ac ymroad yma, gasglu digon i ymfudo i Seion, ac nid llai hysbys yw y gellir, gyda diwydrwydd, ac yn neillduol gyda chynnorthwy yr arweinyddion medrus a anfonwyd o Seion i'r ymgasgl-fanau newyddion, ennill digon i'w cludo y gweddill o'u ffordd i Seion mewn llai o amser nag y gallent pe yr arosent yn y wlad hon, yr hyn ffaith, ynghyd a'r ystyriaeth o werthfawrawgrwydd iawn gyfarwyddyd a'r mwynhâd o freintiau crefyddol yn y cyfamser, oll a arddangosant ddefnyddioldeb y mesurau newyddion hyn i'r rhai ydynt yn y goleuni. Y syll-drem hyn arnynt a barodd i'r llygad-craff yn awyddus ymholi "Pa bryd yr egyr y pyrth ymfudawl i'r Taleithiau? Pa bryd y daw y galwad?" Hawdd y gallwn ddirnad y llawenydd a lonai galonau y cyfryw pan yn darllen "Hysbysiad" ein Llywydd Richards yn y rhifyn blaenorol o'r UDGORN, wrth yr hwn deallant fod yr alwad wedi dyfod unwaith etto, "I'ch pebyll chwi o Israel,"—fod y llong a'u cluda tua eu hymgyrch fanau yn barod, ïe, yn *aros* am attebiad i'r gofyniad "Pwy sydd yn barod i adael ei wlad,—pwy a â?" Rhodder ei aden i'r meddwl am eiliad i ragweled yr olygfa a wel llawer ond odid mewn byr ddyddiau—un awyr lâs uwch ben a byd o ddwfr o amgylch; wrth lwybro'r deck dan oleu'r brith sêr a wyliant dynghed eu gwlad yn yr eigion dwyreiniol—pan arall beth o fwy pwys ni cheir i borthi y meddwl, ai wedi'r oll a dd'wed cydwybod "yr hyn oll a allais mi a'i gwnaethym," ynte ai sibrwd a wna fod ar ol rai a ofnir eu cyfarfod ar ddydd a man nodedig? I'r doeth nid ofer yr awgrymiad. I'r ystyriol brawychus yw yr ystyriaeth

—y diwyd yn unig a ymgysura. Wele yr alwad wedi dyfod! Pwy sydd barod i gychwyn? Nid yn unig pwy a fedd arian i dalu eu cludiad, ac nid pwy sydd awyddus i fyned yw'r gofyniad; mae chwaneg nâ hyny o barotoadau yn ofynol er ymfudo yn foddhaol i'r Hwn sydd yn ein galw! Cyn y dichon fod y Saint yn "arwyddion a rhyfeddodau" effeithiol i'r byd anghrediniol yn y dyddiau diweddaf, dylent fod yn lân oddiwrth eu gwaed drwy fod wedi gwneuthur cyfiawnder â hwynt, nid yn unig yn eu masnachau, eithr gwneuthur cyfiawnder â'u heneidiau anfarwol drwy eu rhybuddio yn garedig, yn sobr ac effeithiol o ddwyfoldeb eu crefydd, drwy eu tystiolaethau dyfrifol a'u hesiamplau duwiolfrydig: a'r neb a ymfuda heb wneuthur y parotoadau hyny, diau yr ymadawa cyn bod yn barod; ac fel y coda yr afalau gleision a yscythra y corwynt oddiar y coed cyn eu hamser, y dincod ar ddannedd a'u bwytao y coda y rhai hyn ddincod ar ddannedd hyd y nod drigolion Seion, ac ni archwaetha eu cylla eu hunain yr ymborth dwyfol a frashâ eneidiau y rhai pur o galon. Hunan-les a gymhello bawb, ynte, i fod yn *barod* cyn ymfudo; a'r neb a ymfuda gan adael gwarth ar achos y Gwaredwr ar ei ol a ddelir yn gyfrifol am y drwg a wna. Efallai nad esgusodir y Llywyddion a esgeulusant edrych i mewn i hyn, gymmaint ag a feddyliant chwaith.

Yn enwedigol, ystyrir y sawl sydd heb dalu ei ddyledion eglwysig, megys am lyfrau, dyled ei Gynnadledd, y Deml, y Drysorfa Ymfudol Barhaus, &c., yn anmharod i ymfudo! Ai rhesymol yw i'r rhai a ddysgwyliant fod yn golofnau yn yr eglwys yn Seion yspeilio yr eglwys yma, neu'r Swyddfäau cyn cychwyn! onid yr un eglwys yw hi yno, a'r un Duw a'u dalia yn gyfrifol yno ac yma? Nid rhesymol chwaith yw i'r cyfoethogion ymfudol ddysgwyl i'r gweddill ag ydynt rhy dlawd i ymfudo i dalu eu dyledion hwynt! Ac felly eglur yw nad *parod* i fyned i'r "wlad lle y mae cyfiawnder yn cartrefu" yw y sawl sydd heb wneuthur y *darpariadau* hyn.

Gosoda 'Hysbysiad' y Llywydd Richards gyfrifoldeb mawr ar y Llywyddion yn etholiad yr ymfudwyr yn ol y frawddeg ganlynol:—"Y rhai y bernwch chwi wrth eu *hamgylchiadau* y dylent fyned." Nid arian yn unig a gynnwysir yn y gair 'amgylchiadau, yma, eithr awgryma hefyd eu cyssylltiad â gwaith

yr Arglwydd, a chrefwn sylw manwl ein brodyr at lesiant a llwyddiant y gwaith dwyfol yn eu detholiad o'r mudolion eleni; canys nid yw yr alwad yn dynodi cymmaint brys etto, nac ar ffô fel ag i niweidio yr eglwys yma.

Craffer mai i'r Taleithiau Unol y mae yr ymfudiad hwn—i'r "llawr dyrnu" sydd ar y ffordd i Seion; i'r fan lle y mae gwyntyllau cryfach, eithr hyderir na chwythir yn ol atom ni namyn yr ûs! Ymbarotoed yr hiraethog rai a fwriadant ymfudo i Seion y tro nesaf, erbyn dechreu y flwyddyn, canys gelwir yn brydlon arnynt hwythau; a gwyn fyd yr hwn a geir yn barotach na'r morwynion ffol hyny, i fyned ar ol yr hir ddysgwyl.

Yn ol y sŵn a glywir nid ammheuwn na cheir llonaid llong o Gymru braidd. Mae enwau a thaliadau rhai eisoes wedi ein cyrhaedd, ac nid oes amser maith i'r lleill oedi.

Hyderwn y bydd pob un mor ystyriol o'n gwasanaeth ninnau ag anfon *Postage Stamps* o leiaf, y rhai amgen, a ânt a mwy nag a allwn ganiatâu o arian o'n llogell; costia i ni tua chwech cheiniog i anfon arian pob un i Liverpool, ynghyd a'r holl lythyrau ereill iddynt. *Craffer!*

---

NEWYDDION TRAMOR.—*Penrhyn Gobaith Da.*—Ysgrifena yr Henuriad J. Haven oddiyno, Gorph. 24, ei fod wedi bedyddio tri yn ddiweddar, ac adduneda chwaneg. Bedyddiodd y brawd Walker naw yn Fort Beaufort yn ddiweddar. Llafuriai y brawd Smith yn Fort Elizabeth, a chafodd tua 500 o wrandawwyr y tro cyntaf, y rhai a derfysgasant y cwrdd trwy waan a lluchio cerryg, &c., eithr un o Ynadon synwyrgall y dref a fwgythiodd gospi y sawl a'i haflonyddai, ac er hyny caiff wrandawiad parchus gan bob gradd yn y fan, ac wedi bedyddio tri, a llafuriai brawd brodorol o'r enw John Wesley gydag ef.

*Twrci.*—Ysgrifena Llywydd y Gangen filwraidd hon o faes y rhyfel eu bod hwy oll yn mawr lawenhau yn mreintiau yr efengyl, tra yn cadw eu cyfarfodydd yn y coedwigoedd cylchynol i'r gwersyll, a bedyddiasai chwech er pan ddaethent i'r fan hono. Eu rhifedi presennol yw 20, 5 Henuriad, 4 Offeiriad, 1 Athraw. Addawai ereill gael eu bedyddio pan symmudent i fan y caffent ddwfr i hyny. Cwynai fod y Cholera wedi ac yn gwneuthur anrhaith fawr yn mhlith y byddinoedd Prydeinig,

ond nid oedd un o'r Saint yn ysglyfaeth iddo. Mae galwad mawr am draethodau yn egluro Mormoniaeth, a gwrthbrofion i'r camgyhuddiadau arni, y rhai ydynt fel y pla yno fel yn mhob rhan arall o'r byd, yn cael eu chwalu gan y pla gludwyr Revrendaidd ag sydd yn dinystrio ein byd â'u hanadl, fel gwenwynig chwâ y 'Pren Upas' marwol.

---

NEWYDDION O UTAH.—Mae y genadiaeth Indiaidd ddeheuol o dan arolygiaeth P. P. Pratt yn llwyddiannus, yr Indiaid yn heddychol, ac yn teimlo mwy o awydd i weithio, eithr yn bur brin o offerynau a nwyfau amaethyddol.

---

O'R GWERSYLL.—Ysgrifena Wm. Empy ei fod ef a'i osgordd yn iach a chysurus ar Kaw River yn Awst y 4ydd, hyd yma teimlasant fwy rhwyddineb nag arferol. Mae yn debyg mai hwnw oedd y gwersyll olaf. Ysgrifena Milo Andrus o St. Louis fod ein diweddar Lywydd S. W. Richards wedi cychwyn ar y *Plains*, Awst 4, ac nad oedd nemawr neu ddim afiechyd yn mhlith y Saint. Yr oedd gwersyll y Llywydd Eldrege o fewn 18 milltir i Fort Kearny, Gorphenaf 24ain. Y Saint oll yn iach ac yn teithio o 15 i 18 milltir y dydd. Bu ymrafael rhwng yr Indiaid a'r ymfudwyr i California, eithr buont yn hollol heddychol tuag at y Saint.

---

## CWYMP LUSIFFER.

I WIR berwyl y cynghor boreu
A gyhoeddwyd, bwriadwyd ei brydiau,
A'i fan a wnelid drwy'r nef yn oleu,
Ac yn y lle wed'yn caed cynlluniadau;
Ac wele'r Ion yn eglurhau—y modd
A orucch benododd i achub eneidiau.

A Luciffer yn uchel ei lais ffronochodd,
A gwyn danawl diau'r ymgyndynodd,
At yr Eneiniog ei natur enynodd,
Ac aruthr ei falais y gwrthryfelodd,
'N elyn fe aeth, creulon ei fodd—i'w frad-waith
Llu ar unwaith a dwyll arweiniodd.

A rhif ei osgordd, hwy a arf wisgid,
A mynai ryfel mi wn er ei ofid;
A y rhan arall, y rhai ni ŵyrid,
I wall o'r eiddo o'u lle a'u rhyddid;
A mintai lon er maint ei lid—a'i gorfu
'i fwrw gan hyny o'i fro gynhenid.

r hyny mae'n dra anhawdd—newidio
Hynodion ei ansawdd,
Addfwyn ei hwyl ni ddaw'n hawdd,
Er ei guro ni ragorawdd.

N oes y byd enbyd hwn,—ha! ei ddirwyllt
Gynddaredd a welwn;
Dihoenai y byd dan ei bwn,
A chan ei adwyth ocheneidiwn.

O'u holl allu cwymp ellyll cas,
I lawn wynias le yn annwn;
Ha! awdwr y freg aed o'r fro,
I'w gadwyno ê gydunwn.

Arfan y nef fu'n 'i orfod—er gwaetha'r
Gethern a'i dihirod;
Y'rhai'n fyth sydd a'u rhan i fod
Oll yn deulu y llyn diwaelod.

Prysured, deued y dydd—yw gaffael
I gyffion tragywydd;
O ddal ei fath hawdd eilio fydd
I'r gain Awen ar gân newydd.

DAVID ROBERTS.

---

## Y RHYFEL FYD, &c.

AR y 12fed o'r mis diweddaf, yr oedd y llynges Frydeinig a Frengaeg yn gwarchae Revel, ac yn aros tiriad y Llyngesydd Napier i'w harwain yn yr ymosodiad ar y lle yr hwn a amddiffynid gan 70,000 o Rwsiaid ar draed, ac 8,000 o wyr meirch. Annerchai Nicholas ei hun ei fyddinoedd, gan eu hannog i wrthsefyll tiriad eu gelynion hyd farw.

Ar y 27ain cyrhaeddasai y Tywysog Menschikoff a'i fyddin-

oedd hyd Burlink ar yr afon Alma, lle yr ymbarotoai i groesawu ei elynion; ar yr ochr arall i'r afon, ac o fewn taith dau-ddydd, laniasai tua 60,000 o Saeson a Francod, a dysgwylid ychwanegiad o 14,000 yn fuan; meddai y byddinoedd unol tua 500 o faes fagnelau, a thua 1800 o geffylau i'w llusgo. Fel hyn teithiai y Brytaniaid, y Francod a'r Twrciaid yn dair byddin gyfochrog i'r ymosodiad ar Sebastopol ar yr 20fed o'r mis diweddaf, a deallir drwy y newyddion diweddaraf fod Sebastopol wedi ei chymmeryd ar ol brwydr boeth, a cholled o tua 2800 o fywydau y byddinoedd unol, ac ni wyddys pa nifer a glwyfwyd o'r naill ochr na'r llall, ond hawdd y gellir dirnad nad yw y nifer yn fach, ac nid bach yw y fuddugoliaeth a ennillwyd. Mae llawer o ddychymmygu pa effeithiau a ddwg y galanastra hwn ar Ymerawdwr Rwsia, eithr hawdd credu fod ei ben rhy galed i ganfod ei leshad etto. Ceir manylrwydd dyddorol yn fuan am y frwydr hon, a'i chanlyniadau echrydus.

Mae y chwyldroad yn cynnyddu yn barhaus yn China, a dinas fawr Canton o dan warchae ganddynt, a dysgwyliad dyddiol o feddiant o honi.

Mae y Cholera ar ei gynnydd gan mwyaf drwy y byd, gwna y ffangell angeuol hon fwy rhwygiad yn ein byddinoedd yn Varna ac ar faesydd y rhyfel, nag a wna arfau ein gelynion; ysgubodd amryw filoedd ymaith heb nemawr rybudd ar ei ddyfodiad i'w plith. Hysbysir ei fod wedi lladd 88,626 o'r Francod, ac yn gwaeddi "Moes, moes" etto! Mae efe eisoes wedi ysgubo 8953 o bobl ein prif ddinas, ac heb ei ddigoni ar hyny! Yn nhref Messina, yn môr y canoldir, lladdodd 12,000 o'r trigolion o boblogaeth o 50,000; dychrynodd y gweddill a allasent i ffoi o'r dref,—cau eu siopiau, a gadael y tylodion i drengu o eisieu. Gorfuwyd i gludo y cyrff yn bentyrau allan o'r dref, a'u llosgi o ddiffyg lle i'w claddu, hyd nes methwyd cael neb i gyflawni y caled-waith hwnw. Rhy faith fyddai olrhain brenin y dychryniadau hwn yn ei orymdaith angeuol, na rhifo y miloedd a sarna o drigolion pob gwlad o dan ei garnau adamantaidd i'r byd arall—ei drigle ei hun; ond gwaith galarus yw gorfod cyfaddef ei fuddugoliaethau dychrynllyd ar ein cyd-genedl yn ngwahanol drefydd ein gwlad ein hunain. Ychydig ddyddiau yn ol clywsom y claddwr cyffredinol yn Nghaerdyf, pan yn dyfod allan o dŷ, yn ateb cyfaill fod pedwar yn gorwedd yn feirw o hono yno, yr olaf o 14 mewn

dau ddrws cyfanol mewn wythnos, ac yn cynnyddu er hyny. Un dydd yr wythnos hon pan yn sefyll gyda chyfaill ar heol yn Merthyr am ychydig amser, rhifasom ddim llai na naw o angladdau, a mawr alar trwy y lle. Dywedir ei fod yn waeth yn Dowlais. Eu Tad a waredo ei blant o'i grafangau.

---

## LLYTHYR Y LLYWYDD JEREMY.

*Brechfa, Awst* 28, 1854.

ANWYL LYWYDD JONES,—Derbyniais eich caredig lythyr nos Sadwrn diweddaf, a mawr y llawenydd a achosodd i mi wrth ddarllen ei gynnwysiad. Da iawn genyf fod y gelyn wedi cael ei orchfygu unwaith etto, ac y mae hyny yn dystiolaeth adnewyddol i mi eich bod yn cael eich arwain gan Ysbryd y gwirionedd, ac wedi cael eich arwain ganddo yn eich ymddygiad tuag at Cora, Dathan, ac Abiram. Gobeithiaf y bydd y tro a'r amgylchiad mynedol yn rhybudd i ereill i beidio codi gwrthryfel yn erbyn y diniwed ac Eneiniog yr Arglwydd.

Mae yn gysur genyf fy mod wedi gwneuthur fy ngoreu genych, ac wedi cyd-weled â chwi yn mhob peth, a'm penderfyniad diysgog yw ymdrechu cario eich cynghorion i weithrediad, yn ol y gallu a'r ddoethineb a rodda yr Arglwydd i mi.

Bydd "Annerchiad" y Llywydd D. Spencer yn yr UDGORN o fawr les yn ddiau. O mor hyfryd yw ein bod oll yn cael ein harwain gan yr un Ysbryd. Gobeithiaf y gwna y gwrthryfelwyr edifarhau, a llwyr ffieiddio eu ffolineb mynedol, fel y caffont faddeuant Duw, a'r rhai y pechasant i'w herbyn.

Rhoddaf ychydig o hanes ein *Camp Meeting* yn Brechfa ddoe. Bu Cynghor genym yn y boreu yn nhŷ Dafydd fy mrawd. Yr oedd y Llywydd Thomas Jones a'i Gynghorwyr yn bresennol, a Llywyddion y Cangenau oll ond Llywydd St. Clears. Yr oedd yr Henuriad Isaac Jones yma hefyd, ac amryw swyddwyr ereill. Ni a gawsom amser da yn y Cynghor,—penderfyniad gwresog yr oll oedd i wneyd eu goreu i gario yn mlaen y gwaith pwysig sydd genym trwy bregethu a thraethodu, &c.

Am ddau o'r gloch dechreuwyd pregethu yn Brechfa,, gerllaw i dŷ Mr. Cneavers, mewn ysgubor fawr a gafwyd gan Mr. Thos. Andrews, Brynyfelin. Yr oedd genym *Stage* dda wedi ei gwneyd

y dydd o'r blaen, a meinciau i'r bobl at eistedd yn gysurus. Annerchwyd y gynnulleidfa liosog gan David Price, Llangadock, Thomas Jenkins, Llanddowror, a minnau. Cefais y fraint o ddal fy nhystiolaeth i laweroedd, ac i amryw ag oeddwn wedi bod yn cyd chwareu â hwy pan nad oeddwn ond ieuanc mewn dyddiau. Credaf fod ein tystiolaethau wedi cael dylanwad da iawn ar y dorf, a barnu wrth yr olwg arnynt.

Am chwech, cafwyd cyfarfod rhagorol wed'yn, ac addawodd amryw gymmeryd eu bedyddio.

Eich brawd yn Nghrist,

T. JEREMY.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

### DYLEDION AM LYFRAU AR Y GWAHANOL GYNNADLEDDAU, Y CHWARTER YN TERFYNU, MEDI 30, 1854.

Dwyr. Morganwg, £132 8s 0¾c; Sir Fynwy, £46 11s 11¾c; Brycheiniog, £4 18s 5c; Gorll. Morganwg, £119 7s 3¾c; Llanelli, £35 5s 8c; Caerfyrddin, £15 16s 2¼c; Penfro Ogleddol, £4 10s 3¾c; Aberteifi, £14 1s 7½c; Meirionydd, £10 5s 1½c; Fflint, £21 11s 0¼c; Dyffryn Conwy, £9 13s 10¼c; Sir Ddinbych, £19 3c 5¾c; Môn, £13 18s 0¾c; Cangen Gymraeg Liverpool, £1 7s 2½c; Swyddfa Liverpool, £1 10s 7½c.—Cyfanswm, £450 8s 11¼.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MEDI 13 HYD TACH. 4.—Sir Ddinbych, £1 1s; Brycheiniog, £1 15s; Meirionydd, £2 3s; Penfro Ogleddol, £1; Llanelli, £1 10s; Dwyreiniol Morganwg, £10 3s 9½c; Fflint, £1 5s.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones,* "*Udgorn Seion*" *Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

**Seren y Saint.**

RHIF. 34.] HYDREF 21, 1854. [CYF. VII.

## Y GERI FARWOL A'I FEDDYGINIAETH!

NID newydd i neb, debygwn, fydd cyhoeddi dyfodiad y fflangell angeuol hon i'n gwlad etto. Mae gwehyriad y "march gwelwlas" hwn o'r newydd yn swnio yn nghlystiau gweledyddion Ewrop, yn syfrdanu y meddygwyr, ac ni ellir ei guddio o sylw y werin.

Arno, tarawn ein trem yn mlaenaf braidd yn y newyddiaduron. Tra nad oedd ond adsain ei wehyriad yn treiddio o bell ar adenydd yr awelon dwyreiniol, nid oedd a ofnai rhag ei alanastra, eithr nes- es fel y carlama, clywir lleisiau mawr a bach, boneddig a gwreng yn gwaeddi, parotowch, a glanhewch "ffyrdd brenin y dychryniadau" hwn. Nid oes cefnfor rhyngddo â ni yn hwy, breiniolded na grym arfau nis gwyrant ef o'i gwrs, yn mlaen y rhuthra dros dalpiawg greigiau a'r dyffrynoedd gwycha – lle y triga dyn, ei ymgyrch sydd! Pa barotoadau a ellir wneyd? Pwy, neu beth a'i ffrwyna, a phwy a grafanga ei awenau? Methodd breninoedd ac amherawdwyr y dwyreinfyd a'i droi yn ol. Cyfaddefa ei Mhawrhydi a'i holl lŷs eu hanalluogrwydd, a gosodant eu hesgobion a'u hoffeiriadon ar waith i gyfansoddi a darllen gweddiau hirion a thaerion, ar i Dduw y nefoedd eu harbed rhag ei garnau heiarnaidd; a phwy a'u beia! Etto, "megys yr oedd yn y dechreu, felly y mae yr awr hon, ac y *bydd* yn oes oesoedd," er hyny oll o'u rhan hwy, os iawn ddeallwn ni. Y meddygwyr dyngarol, hwythau drwy'r wlad y'nt am yr amrywiaf eu dyfeisiadau

meddygol; o'r *copr* hyd yr *olive oil*, cynghorant. Ond pa wiw, pa waeth, yn mlaen y daeth, ac yn mlaen yr aiff y *Cholera* erddynt oll! Y swyddogion gwladol o bob gradd yn ddiwyd a dyngarol iawn a gymhellant bawb i lanhau eu heolydd, a gwyn galchu eu tai oddi fewn ac oddi allan. Da iawn yw hyn, ac ettyb ei ddyben priodol, a gwneler, goreu po fwyaf; ond y mae hyn oll, yn ol ein tyb ni, tra y mae *calonau* y bobloedd yn llawn sugndynfa i'r Cholera, a'u bryntni mewnol yn ei lochesu, yn rhy debyg i "olchi y tŷ mewn i'r cwpan a'r ddysgl;" ac yn efelychu y Phariseaid hyny a "wyngalchasant y tŷ allan i'r beddau, tra oddi mewn yr oeddynt yn llawn o fudreddi ac esgyrn y meirw" i rwystro nac alltudio y geri o'r wlad. Nid y'm yn awgrymu dim yn erbyn yr ymdrechiadau daionus hyn, eithr os digonol y'nt, pa fodd y mae y Geri yn lladd boneddigion yn eu palasau gwychaf,— meddygwyr yn nghanol eu cyffeiriau, ac offeiriaid a'u gwnau yn eu cylch, fel na ddianga o'i afaelion, y rhai a *wnaethant* yr oll o'r uchod? Oni phrofa hyny aneffeithiolddeb y feddyginiaeth? Os felly, onid beius y sawl a berswadia ereill i wrthod meddyginiaeth anffaeledig,—ei "bod yn afreidiol," &c. Onid yw yr hwn a ddyry rwystr ar ffordd ei gyd-ddyn i'w chael yn gyfrifol am y canlyniad o'i wrth-ddylanwad? Os cydnabyddir pob ymdrechiadau o eiddo pob meddygwyr i wellhau eu cyd-ddynion yn rhinweddau dyngarol, pa reswm beio y rhai a gynygiant feddyginiaeth anffaeledig, yn rhâd i bawb a'i derbynia? Pa reswm gwrthod heb *brawf*, a chondemnio heb *arholiad*, unrhyw feddyginiaeth a broffesa gyfranu y fath annhraethol les? Mewn syndod, efallai, ymholir a gynnygir y fath feddyginiaeth ar unrhyw ammodau cyrhaeddadwy? Ac a geir creaduriaid rhesymol a wrthodant y fath gynnygiad? Yn ddibetruseder atebwn yn gadarnhaol; y mae cyffeiriau i'w cael yn awr, oddiwrth feddyg anffaeledig, ac y mae efe yn anfon ei weision i gymhell y cyffeiriau hyny i bawb heb arian ac heb werth. Argraffa anffaeledigrwydd y Meddyg, hefyd anffaeledigrwydd ar *ei* feddyginiaeth. Wel, meddir, beth yw y cyfarwyddiadau meddygol hyny? Atebwn, mai anhebgorol yw fod ymddiried yn y meddyg hwn, fel y gofyna pob meddyg arall i *ufyddhau* i'w gyfarwyddiadau yn gywir, yn hollol fel y cyfarwydda. Cyfaddefir rhesymoldeb y gofyniad yna, drwy ufydd-dod trwyadl pob claf i gyfarwydd-

iadau ei feddyg. Ac yn wir nid byth y ceir neb mor ffol â dysgwyl lleshad oddiwrth un meddyg ond ar ufydd-dod hollol i'r oll a ddywed. Felly yma yn gywir. Ond gofynir rhyw adnabyddiaeth â'r meddyg, meddir, cyn y gellir ei gredu nac ufyddhau iddo. Rhesymol ddigon. Felly yma. Y meddyg ag y cyfarwyddir chwi ato yw'r teilyngaf oll o'ch crediniaeth, canys ni'ch cyfarwyddir at lai meddyg ná eich Creawdwr, eich Cynnaliwr, ynghyd â Hollalluog Greawdwr y byd a'i gyfiawnder. Pwy sydd yn addasach i wella ná'r hwn a wnaeth? Pwy, ynte, a deilynga eich hymddiried fel Efe? Addefir nad oes ei gystal Ef i'w gael. Purion, ynte, dyna un cam yn mlaen i bawb. Yn nesaf, pwy a all gyfiwyno ei gyffeiriau Ef i ni yn awr, ynghyd a'r cyfarwyddiadau yn gywir? Atebwn, nad neb a gyfnewidia ei gyffeiriau gwreiddiol Ef, oddieithr iddynt brofi eu hawl i hyny oddiwrtho Ef. Etto, meddwn, nid pawb, o *angheurhaid* a, hyd y nod, ddysgant yn gywir ei gyfarwyddiadau ef ychwaith; canys gyda hwn, fel gyda phob cyffeiriau llesiol ereill, dichon ffugiadau fod. Rhag hyny mae *licence*, trwydded, yn ofynol, yr hon ni ellir ei ffugio, ac ni ateba y cyffeiriau y dyben oddieithr eu gweinyddu dan nawdd y drwydded hon. Ymddygiadau cyfatebol y byd dan bob amgylchiadau a brofant resymoldeb ein gosodiad hwn hefyd. Yn nesaf, hysbyswn y cyfarwyddiadau gofynol, ac yna hawddach deall pwy yw eu teilwg weinyddwyr. Yn gyntaf, wedi credu yn y meddyg, gwelir effeithiau y ffydd hono, yn yr ymwrthodiad â phob peth sydd yn groes i'w ei ewyllys Ef, ac hefyd yn yr ufydd-dod cyflawn i'r oll a orchymyna, yr hyn yw, yn nesaf, cael eich claddu mewn dwfr er maddeuant o'ch pechodau, a thrwy hyny eich darparu a'ch addasu i dderbyn cyfran o ei Ysbryd Glân Ef, effeithiau iachusol yr hwn a ymlidia ymaith bob dylanwad croes i fywyd ac iechyd i'r graddau ei meddir, ac i'r dyben o gael ychwaneg o'i nerth dywedodd y Meddyg mawr am i'r claf ofyn, nid i'r Doctoriaid, eithr i'r Henuriaid hyny a hawliodd efe i wneyd hyny, ac i ba rai y rhoddes drwydded, i arddodi eu dwylaw ar ei ben, a gweddio am iddo gael ychwaneg o ddylanwad y Pen Meddyg. Os aflwyddiannus wed'yn, yna gorchymyna eneinnio y claf ag olew, nid â rhyw olew a wnaiff y tro yma mwy na chyda rhyw feddyg arall. Ond yr olew a ddywed y meddyg. Os na etyb hyny y dyben y tro cyntaf, cynghora i wneyd yr un modd hyd

nes y delo y claf yn iach. Ac fel y caffo y claf fwy-fwy fyth o'r Ysbryd bywhaol oddiuchod, ceisir gan ereill gyd-weddio ag ef drosto, ac yn yr ymarferiad â'r moddion, addawa y Meddyg digelwyddog hwn y byddant yn anffaeledig, oddieithr fod y cyfryw afiechyd yn fwriadol i derfynu einioes y claf. Yr hyn nid yw y Meddyg bob amser yn ei hysbysu; ac yn absennoldeb y fath ddealltwriaeth, dyledswydd y claf yw ymarferyd y moddion uchod yn gywir fel eu cyfarwyddir. Yn awr, dywedasom beth yw y feddyginiaeth anffaeledig ag y cyfeirir atti. Dyma hi! Pwy a ddichon ei gwrthwynebu heb fod drwy hyny yn gwrthwynebu ei Hawdwr hi? Pwy, wedi gwrthod hon, a ddysgwylia i'r Meddyg hwn ei iachâu? Pa'm nad yw gwrthod y feddyginiaeth hon yn rhoddi sarhad ar y Meddyg?

Mae miloedd lawer, debygwn, o wahanol gyffeiriau yn cael eu cymhell i'r byd rhag y gwahanol glefydau, heintiau, &c., a'u cystuddia. Ni welir nemawr newyddiadur ar nad yw ei golofnau yn llwythog o honynt, etto ni ddarllenwn byth y cyfarwyddiadau hyn yn un o honynt! Ar hyd parwydydd pob tref, a'u tai, darllenwn ryw addewidion mawrion am welliadau, ond neb yn *anffaeledig* ond hwn, etto nid oes neb o honynt byth yn dweyd gair o blaid hwn! Cyhoeddir llawer o lyfrau gan awduron doethion ar y peth hyn, ond addefir ein Hawdwr ni yn ddoethach nâ'r oll o honynt; er hyny nid oes neb yn cymhell ei gyffeiriau ef i'w cleifion! Beth a ddichon fod yn achosi hyn oll, tybied? Nid yw ein Meddyg ni mewn parch gyda neb o feddygon y byd hwn yn siwr, onide clywem ryw gymmeradwyaeth i'w gyffeiriau. Ni allant fod yn anwybodus o honynt, bid siwr, canys y mae ei lyfr meddygol yn barchus ac adnabyddus iawn am bethau ereill a gynnwysa; ïe, carant y Meddyg gymmaint nes darllen ei hanes a sôn am dano yn eu haddoldai a'u hannedd-dai, a phob man braidd, nid oes cymmaint canmoliaeth i unrhyw feddyg erioed a fu ag sydd i hwn, ac etto i gyd, nid yn unig canmola pawb ei feddyginiaeth ei hunan a chymhella gyffeiriau ei gyd-feddyg i'r byd yn hytrach nâ chyffeiriau y Meddyg anffaeledig hwn, ond gwaeth fyth, gwawdiant ac erlidiant y sawl a'i canmola, ac nid anfynych y bygythiant garcharu y sawl a'i gweinyddo. Ydyw, y mae eu casineb gymmaint at y cyffeiriau hyn, er nad faint eu canmoliaeth o'u Hawdwr, nes y ffurfiasant gyfraith yn cospi yn llym a'u rhoddo i arall!

Nid cymmaint syndod, fod y meddygon proffesedig hyn yn ofni amlygrwydd o rinweddau iachusol y ffordd hon i iechyd, gan mai o'r boncyff hwn y tyfa ffon eu bara; ond gwrthwynebrwydd, diystyrwch, a gwawd diattreg y rhai a broffesant fod yn weision anfonedig i'r prif feddyg hwn, at ei gyffeiriau meddygol ef, sydd yn destun syndod mawr i bob un ar nad yw yn deall mai ffagwyr y'nt, yn cymmeryd enw y prif feddyg yn unig er ennill dylanwad ar eu hudolwyr i werthu eu ffug eu hunain, gan nad oes rhinwedd na nerth yn eu ffugiau i ennill eu hunan-glod yn anymddibynol arno. Yma ysgyrnyga y ffugwyr eu dannedd arnom ond odid, am eu dynoethi; ond, pa wiw, y mae yn rhy eglur i'w guddio!

A gaiff y byd eu rhybuddio rhag eu twyllo gan ffugiadau a'r "*Parr's life Pills,*" "*Morrison's Pills,*" "*Worsdell's,*" *&c.*, a rhifres hirfaith o'r cyffelyb a ellid enwi; ac oni rybuddir y byd rhag hudoliaeth swyngar y "Peirch," yr "offeiriaid," a'r "quacks" duwinyddol ag sydd yn proffesu eu hunain yn weision i'r meddyg ag y soniwn am dano, tra ar yr un pryd y maent yn syfrdanu clustiau eu hudolion â'u hysgrechfeydd yn erbyn cyffeiriau gorchymynedig eu mheistr proffesedig? Pa ddyngarwr a all attal ei bin na'i dafod rhag rhybuddio ei gyd-ddynion sydd ar dranc o anghen y feddyginiaeth hon? Yn enwedig yn yr amseroedd enbyd hyn,

Pan mae'r haint yn medi'r gwledydd,
Medi dyn fel gwellt y maes,

pa ddyn a ddymuna estyniad einioes i'w gyd-ddyn, ac a ddymuna ryddhau ei deulu o arteithiau dirdynawl Cholera ar na alwa ei sylw—a floeddia yn uchel, uchel, dyma'r ffordd i iechyd; fel hyn y darparid yn effeithiol erbyn dyfodiad y Cholera, a phob ffrewyll ac ysgorpion angeuol arall. Y "DDAWN IACHAU" a osododd y prif feddyg yn ei Eglwys yw yr unig feddyginiaeth anffaeledig. Fod y fawr-fraint o estyniad bywyd ac iechyd tymmorol yn gystal a thragywyddol yn addewidion pendant, ac effeithiau daionus yr efengyl sydd rhy wybodus i'r Saint i fod eisieu ei gadarnhau yma; etto i'w hanghredinwyr *hi*, nad faint eu sêl dros draddodiadau Doctoriaid duwinyddol ereill, y mae y ddawn hon nid yn unig yn anwybodus, ond yn anghredadwy hefyd; er eu lles hwy ynte, dywedwn, y "*ddawn iachau*" yw meddyginiaeth ein Duw i'w blant yn wrthgyferbyn-

iol adferiadol i ddirywiedig effeithiau pechod, i farwoldeb. Olrheiniad yn ol i hanesyddiaeth ysgrythyrol ein rhywiogaeth a arddangosa mai troseddu cyfreithiau ein Crewr a blanodd hadau marwoldeb yn ein natur, "gan farw ti a fyddi farw" oedd y penyd. Anufydd-dod i ddeddfau dwyfol hefyd sydd wedi llygru y gwaed, a'n gwneyd yn fwy agored barhaus i afiechyd yn ei amrywiol ymosodiadau; ac er nad yw y ddedfryd o farwolaeth yn cael ei symud ymaith, o herwydd "gosodwyd i ddynion farw," etto y mae ei effeithiau a chanlyniadau y trosedd yn cael eu troi ymaith trwy ufydd-dod i'r gyfraith a droseddwyd. Gan fod colli bywyd ac iechyd yn gospau am droseddu'r gyfraith, paham nad yw yr ufydd-dod iddynt yn adferyd yr hyn a addawwyd? O'r naill ochr "yn arogl bywyd i fywyd," ac o'r ochr arall "yn arogl marwolaeth i farwolaeth." Gan hyny, gwelir fod y "ddawn iachâu" yn fendith grefyddol, ac iddi ei chyfreithiau a'i hammodau priodol ei hun, a bod y derbyniad o honi yn dibynu, nid yn unig ar ufydd-dod y derbynydd i'r ammodau, ond hefyd ar fod hawl gyfreithlon gan y gweinyddwr i weinyddu. Yr hawl hono yw yr Offeiriadaeth a gyfiwynir i'w weision gan y prif Feddyg i weinyddu yn holl ordinhadau yr efengyl, yr hon sydd yn allu Duw er iachawdwriaeth dymhorol a thragywyddol i'w hufyddion, trwy yr hon y mae bywyd ac anllygredigaeth yn dyfod i oleuni. Clywir ei Hawdwr mawr yn dysgu ei weision yn ei efengyl yn Marc xvi. Wedi dangos pa fodd i gael eu dieuogi oddiwrth effeithiau eu troseddiadau eu hunain a'u tadau o ran eu cymmeriadau; yna ebe fe "Ar y cleifion y rhoddant eu dwylaw, a hwy a fyddant iach." Wele addewid bendant i'r sawl a ufyddha i'r ammodau,—"a fyddant iach;" nid efallai, nac un *os* arall! Gwelir mai yr un oedd y Physygwyr iachusol corfforol ac ysbrydol hyn; trwy yr un hawl y gwnaent y naill a'r llall, ac yr oedd yr addewid mor bendant am y fendith o *iechyd corfforol* ag yr oedd am faddeuant, a'r doniau ereill. Yn awr, gofynwn, pa bryd y rhanodd y Meddyg mawr hwn yr hawl rhwng y Doctoriaid physygwrol a'r Doctoriaid duwinyddol? Dangoser y gyfraith, y llyfr a'r tudalen, yn yr hwn y rhoes yr hawl i'r naill i fusnesa yn y cyffeiriau a addawant iechyd ysbrydol ac na wnelent dim â'r cyffeiriau physygol? a pha bryd y dywedodd wrth y physygwyr fod trwydded o sort arall yn anghenrheidiol er gweinyddu cyff-

eiriau ysbrydol? Pa bryd? Pwy a all ateb yn gadarnhaol? Neb o honoch! Wel, paham y rhanir y feddyginiaeth ddwyfol rhyngddoch? Beth, hyn oll er mwyn elw? Os nad gwneyd marsiandiaeth o ddynion gyrff ac eneidiau yw hyn, dywedwch beth yw y farsiandiaeth hono!

Mae genym wrth law, dystiolaeth hen Ddoctor profiadol a phoblogaidd iawn yn enwedig yn ngholegau y blaid D. D's., yr hwn oedd yn hen gampwr yn mhlith hen Ddoctoriaid yr hen goleg gwreiddiol, ei enw yw Paul, gynt Saul o Tarsus, yr hwn a dystia mai cyffeiriau y prif Feddyg oedd y goreu, a'r feddyginiaeth a roddid i'r cleifion yn ei amser ef; efe a ddywed yn 1 Cor. xii, 9, "Ac i arall ddawn iachau, drwy yr un Ysbryd;" sef i iachau o afiechyd corfforol yw hyn. A hwn cyd-dystia hen Ddoctor arall a gydoesai ag ef, a'r hwn, ebe hwy, a gafodd drwydded gan y prif feddyg, ar ol "*pasio examination*" o'i flaen ef, a gweler y *prescription* hwnw yn llyfr Iago i, 14, 15. Paham y mae y pethau hyn mor anmhoblogaidd yn yr oes oleu hon, yn neillduol gan y D. D's. a'r Revd's a broffesant eu bod yn aelodau o'r un tylwyth o Ddoctoriaid, yn weision i'r un Prif Feddyg, ac yn gwneyd ymffrost o'u hamcanion i lesoli dynion? Os creulondeb fyddai rhwystro claf i gymmeryd cyffeiriau meddyg dynol, pa faint creulonach—pwy a ddywed—yw rhwystro dynion i ddefnyddio cyffeiriau y Meddyg anffaeledig? Os diala dynion ar y sawl a gamddarluniant er niwed i'w crefft, neu a ffugiant eu cyffeiriau hwynt, pa faint llymach y diala Duw—y Pen Feddyg, ar y rhai a'i diystyrant, gan rwystro ereill i ddefnyddio cyffeiriau appwyntiedig ei Fab, o eisieu yr hwn y trengant wrth y miloedd yn barhaus?

Wrth ei ffyddlon blant a iawn brisiant gyffeiriau y Prif Feddyg, dywedwn,—ymroddwch yn ffyddiog i driniaeth y Meddyg anffaeledig; a bydded i echryslonrwydd y Cholera, a rhwysg pob haint arall, ddysgu i ni y wers bwysig o ffyddlondeb i'r alwedigaeth ddwyfol â'r hon ein galwyd i ryddid plant Duw; ymburwn ac ymsanteiddiwn fel y preswylio Ysbryd y bywyd yn fwy grymus ynom, ac y byddo fel mur o dân o'n hamgylch yn nghanol pob pläau; ein ffydd ddiysgog a fo yn dysgwyl wrth Dduw drwy ei ordinhadau, yn hytrach nag wrth ddoethineb ddynol.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

DYDD SADWRN, HYDREF, 21, 1854.

TRAETHODU.—Mae oerfel wedi terfynu y tymmor hau yr hâd da ar hyd y "ffyrdd a'r caeau" gan mwyaf, ac ni wyddom am un ffordd mwy effeithiol i'w ddwfrhau, fel yr egino, na thrwy ddosparthu traethodau o dŷ i dŷ. Bydd y nosweithiau hirion a geuafaidd dyfodol mor fanteisiol i ddarllen traethodau ag oedd hir ddyddiau haf i wrando pregethu, a dysgwylir i'r rhai a wyddant fod y cynheuaf mawr olaf gerllaw, i fod yn ddiwyd i osod yr argraffedig air o fewn cyrhaedd eu cymmydogion.

Yr ydym ni wedi ymddeffroi a gweled y lleshâd o draethodu, a'r pwysigrwydd o beidio yn fwy nag erioed; a theimlwn yn fwy awyddus nag oll i waeddi yn uwch—i grefu yn daerach am gynnorthwyo y Saint i ddosparthu, i werthu neu roddi, neu ryw fodd a ellir i chwalu y newyddion pwysig a daionus a gynnwysa ein cenadwri i'n cyd-ddynion! Pwy a gonnorthwya yn y gwaith dyngarol—haelionus a llwyddiannus hwn? Frodyr! nid swyddwyr yn unig, ond pob aelod, a geir eich gweled o dŷ i dŷ a'ch dwylaw yn llawn o draethodau? Dyry hyny gyfleusdra i dystiolaethu na cheir heb hyny, a dyry gyfleu i lawer o rai gonest a ewyllysiant ddeall ein crefydd i ymholi a chael y gwir. Wrth wneuthur felly byddwch o fawr fendith, ac fe fendithia Duw chwithau yn helaethach am bob ymdrech fel hyn a wnewch, tra y mae yr oriau gwerthfawr a dreilir yn ofer gan rai bob dydd yn digio Ysbryd Duw oddiwrthynt yn raddol, ac yn dwyn arnynt hwythau gyfrifoldeb am eu hesgeulusdod at yr eneidiau a ddiangant o'u deutu i'r byd arall yn feunyddiol heb ddeall am ffordd yr iachawdwriaeth. Nid y pregethwr yn unig a raid roddi cyfrif am ei oruchwyliaeth, ond delir pob un yn gyfrifol yn ol ei allu i wneuthur.

Chwiorydd! a gawn ni eich help chwithau at y gwaith clod-

adwy o ddosparthu traethodau yn mhlith eich cymmydogion? Paham nad chwychwi? Mae y llwyddiant rhyfeddol sydd wedi dilyn ymdrechiadau daionus rhai o'n chwiorydd selog yn hyn, yn profi y gall pob chwaer fod o fendith wrth hyny—mae y ffaith o fod Duw yn bendithio eu llafur, ac yn llanw eu calonau o gariad, a'u geneuau â doethineb i allu atteb pob un fel y teilynga, ynghyd a'r ffaith o eneidiau a fuont yn foddion i achub yn gwaeddi yn uchel, ïe, yn uwch nâ llais dynol, arnoch chwi un ag oll i ymddeffroi o ddifrif, tra y gellir, i ddosparthu traethodau a thystiolaethu i'ch cymmydogion. Tystia y chwiorydd a draethodant eu bod yn ddedwyddach o lawer nâ chynt, ac y mae yn bleser clywed ambell un yn adrodd ei hymddyddanion a'i hatebion synwyrgall i'r byd. Gwyn fyd pe gwelem yr holl Saint yn efelychu yr ychydig wroniaid a wnant hyn; dylifai dynion i deyrnas Dduw yn fuan wrth y miloedd! Dyma'r ffordd a lwydda Duw i achub y rhai na ddeuant i wrando pregethu; mae y llwyddiant rhyfeddol a ddilynodd y traethodu yn Llundain, ac amryw fanau yn Lloegr yn ddiweddar, ïe, yn nes atom, yn Nghymru, lle ei gwnaethpwyd, yn profi ei effeithioldeb tu hwnt i ddadl.

Mae Llywyddion amryw Gynnadleddau wedi caniatau i ni anfon iddynt y nifer a ystyriwn yn anghenrheidiol o bob traethawd, ar yn ail wythnos a'r Udgorn; diolchwn am eu hymddiried, ac ymdrechwn ei iawn ddefnyddio, canys, un yw ein dyben —un yw ein Mheistr, ac un ddylai fod ein golygon a'n hamcan yn y peth hyn fel yn mhob peth arall i achub dynion. Hyderwn y gwel Llywyddion Cangenau mai eu lles hefyd yw gosod eu holl aelodau ar waith i werthu yr oll a anfonir iddynt gan eu Llywyddion hwythau.

Ofna rhai gymmeryd gwerth mwy o draethodau nag a gymmerant o'r Udgorn rhag ofn cynnyddu eu dyled; eithr barnwn ni yn wahanol i'r cyfryw, a'n rheswm yw, o herwydd mai i'r byd yn benaf y bwriedir y traethodau; felly pe cymmerai y Saint gynnifer ag o'r Udgorn ni fyddai dim i'r byd gael, a chollid y prif amcan; pe o'r ochr arall yr ymdrechai pob un werthu a allai i'r byd, dygid lluoedd i'r Eglwys, ac ni fyddai y traethodau yn un toll ar goffers yr Eglwys. Os cedwir hwynt ar law, diau y cynnyddai y ddyled, eithr nid i hyny eu gwneir, ac yn hytrach na hyny, gwell genym ni arbed y gwaith a'r gost o'u

gwneuthur; etto mewn ufydd-dod i gymmelliadau Ysbryd y gwirionedd, ac ymddibyniad ar gyd-weithrediad ein cyd-weithwyr ffyddlon i'w lledaenu, yr hyn nid yw ychydig, fel y mae yn bleser dweyd, ymegnïwn i gyhoeddi a allwn o draethodau er goleuo ein gwlad yn y gwirionedd dwyfol a draddodwyd i ni, ac er amddiffyn ein cenadwri rasol a chymmeriadau ei phrif genadon, hyd y gallwn, rhag y cam-ddarluniadau gwarthus a niweidiol a ddyry gelynion Duw a dynion arnynt.

Dengys ein Dosparthwyr ffyddlon eu sel dros, a'u haelioni at achos Duw, drwy hwyluso yr ymdrech hwn, nid er mwyn elw, fel y gwna marsiandwyr y byd a'u nwyfau, ond o gariad at y gwaith; canys eglur iddynt na chaniatâ pris gwerthu rhyfeddol o râd y traethodau presennol iddynt hwy fwy nag i'w Cyhoeddwr nemawr elw; ein helw a fo yn well nag aur ac arian—dim llai nag anchwiliadwy olud Crist a'n boddlono. Cynnyddiant rhyfeddol eu cylchrediad o'r hyn yw, yn unig a'n galluoga dan yr anfanteision a'n gormesant, i ddilyn yn mlaen yn galonog.

Gair at yr Ymfudwyr.—Hysbysir ni gan y Llywydd F. D. Richards y bwriedir i'r llong gyntaf hwylio yn y mis nesaf tua New Orleans. Os bydd mwy o ymfudwyr nag a gymmer un long, a nifer digonol o ymgeiswyr, anfonir llong arall; eithr ni anfonir chwaneg o Saint i New Orleans ar ol mis Tachwedd. Hysbysir yn brydlawn amseryddiad eu hwyliad o Liverpool.

Dymunir ar bawb a fwriadant ymfudo i'r Taleithiau Unol anfon eu henwau, oedran, galwedigaeth, gwlad eu genedigaeth, ynghyd â blaen dâl o £1 am bob un a fyddant dros un flwydd oed.

---

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG.

[Parhad o dud. 524.]

Y Llywydd Dan Jones,—Gwrandawais arnoch gyda phleser yn rhoddi cyfrif o'ch goruchwylion, a pha mor ddiwyd y buoch, yr hyn, pan ystyriom fod ein lleshad personol a'n gogoniant tragywyddol yn dibynu ar lwyddiant yr achos yn ein plith, a bera lawenydd i'n calonau. Ymdrechasoch yn ganmoladwy, ac y mae eich sel frwdfrydig, eich penderfyniad diysgog, a'ch ymdrechiadau diflino yn gymmeradwy yn ngolwg Duw Israel.

Llawer sydd yn eistedd o'm blaen heddyw yn fwy rhydd a thawel eu cydwybodau, a gwell eu teimladau nag oeddynt yn y Gymmanfa flaenorol, a hyny yn unig o herwydd cynnyddiant eu hymddiried yn yr Offeiriadaeth Santaidd. Y mae yr Arglwydd wedi caniatâu profi y Gynnadledd hon i helaethder, fel na chamarweinier neb o honoch yn rhwydd. Mai y rhai parotaf o honoch i ufyddhau ydynt y rhai dedwyddaf a chyfoethocaf yw eich profiad yma heddyw.

Y mae arall yn eich llywyddu yn awr, yr hwn a osodais arnoch o herwydd fy mawr gariad atoch, a'm gofal drosoch. Tra y llywyddais eich Cynnadledd ni esgeulusais ddim ag a ystyriwn yn lles i chwi. Symudais i Abertawy er bod yn nes i'r canol rhwng y Cynnadleddau, ac er mwyn fy iechyd.

Llawenydd genyf yw eich bod yn adferyd y rhai llesg; cynnaliwch y gliniau gweinion; y mae eneidiau gwerthfawr ganddynt, ag ydynt yn werth eich hymdrech. Hefyd parhaed eich diwydrwydd mewn traethodu; nid yw yr ysbryd traethodu ond rhagredegydd bedyddio, fel yr oedd Ioan Fedyddiwr i Grist. Mae ugeiniau o ddynion yn ein heglwys yn awr a dystiant iddynt gael eu hargyhoeddi trwy ymdrechiadau y Saint i ddosparthu traethodau iddynt. Yn hollol gyferbyniol i ymdrechiadau swyddogion unrhyw Gangen i ddosparthu traethodau y llwydda Duw hwynt; a ellir gwrthbrofi hyn? Ysgrifenir y traethodau yn ol y ddoethineb oreu a feddwn, i wrth-brofi camgyhuddiadau ein gwrthwynebwyr arnom ni a'n crefydd, a thaflu goleuni i leoedd tywyll lle y dallwyd dynion gonest gan eu hudolwyr.

Pleser o'r mwyaf i bawb o honom yw ymgyfeillachu a'n gilydd wrth feddwl y cyd-deithiwn, nid yn unig yn y byd hwn, yn Babilon, tros y môr, a'r mynyddau creiglyd i'n cartref dedwydd, eithr am bob tragywyddoldeb; ond pa le y mae y rhai y dysclaeriodd eu llygaid yn ein Cymmanfaoedd diweddar? Pa le y maent yn awr? Eu hymddangosiad rhith grefyddol, eu geiriau dengar, a'u dylanwad swynol a hudodd rai i'r fath ymddiried ynddynt ag yr ymddiriedasent eu bywyd iddynt, eithr hwy a syrthiasant fel sêr gwibiog, a'u hamgylch nid adnebydd hwynt! Pa beth a'n cadwodd ni, ai doethineb ddynol? Dim ond nerth y Duw byw.

Llawer o awydd sydd am ymfudo i Seion; mae galwadau yr hoff berthynasau a'r cyfeillion draw fel peroriaeth yn swyno ein

clustiau i chwenychu myned yno ar eu hol hwynt, eithr nid cyn gwneyd ein dyledswyddau, a chyflawni gweithredoedd tuag ein cyd-genedl a'n teilynga i gymdeithasu â'r cyfiawnion, a gorphwys gyda'r ffyddloniaid.

Cynnrychiolwyd, Hen. 254, Off. 90, Ath. 103, Dia. 53, Bed. 77, Trosglwyddwyd 93, Derbynwyd 62, ar wasgar 25, bu farw 6, Ymf. 5.—Cyfanrif 1709.

Canwyd, "Fe wawriodd hyfryd foreu," &c. Terfynodd y Llywydd Jeremy trwy weddi.

### HANNER AWR WEDI DAU.

Dechreuwyd trwy ganu, a gweddiwyd gan yr Henuriad Thos. Morgan, Brycheiniog. Canwyd.

Y Llywydd—Pan yr oedd dyscyblion Crist yn dra thrist ryw dro daeth y dystiolaeth i'w plith "Yr Arglwydd a gyfododd yn wir." Beth a allwn ni y Saint ddweyd y prydnawn yma? 'Yr Arglwydd a lefarodd yn wir,' ac ni a wyddom hyny; dysgodd ni, a gwyddom iddo ddadguddio i'w Brophwyd Joseph, beth sydd i wneyd er bod yn gadwedig, yr hyn a wnaethom hyd yma, a chawsom dystiolaeth o hyny, a'i fod ef yn parhau i'n dysgu trwy ein hathrawon, ac yn rhoddi gwybodaeth i ni o wirionedd y ddysgeidiaeth. Cawsom gyfarfod da boreu heddyw, a dysgwyliwn hyny y prydnawn etto, fel tystiolaeth oddiwrth Dduw o ddwyfoldeb y ddysgeidiaeth a gawsom. Dau brif beth sydd genym i wneyd, sef gwrando pa beth a ddysgir, a gwneyd yr hyn a ddysgwyd. Wrth gyflawni hyn yn unig y gorlifa bendithion a thrugareddau i ni yn barhaus. Ein harwydd-air yw, i bob un ofalu am ei fusnes ei hunan, a gwneyd ein goreu yw hyny, ac yn y gwneuthuriad o hyny yn unig y derbyniwn Ysbryd Duw. Felly beth bynag a wnawn, gwnawn ef er gogoniant i Dduw. Pwy sydd yma heddyw yn bwyta ac yn yfed er gogoniant i Dduw? Y cyfryw ag sydd yn iawn barchu y corff a roddes Duw iddo. Nid bwyta sydd yn cadw dyn yn fyw; pa fodd y bydd dyn fyw, ynte? "Yr arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant." Pwy sydd yn credu; mae Duw yn gofalu am anifeiliaid y maes, adar y nefoedd, a physg y môr, ac yn rhoi digon o ymborth gerllaw iddynt i'w gasglu. Y mae gan y Saint i gasglu eu hanghenrheidiau hefyd, ac os parcha pob dyn y corff a roddes Duw iddo er gogoniant ei enw, gan gredu yn, ac ymddibynu ar Dduw, caiff

ddigon o fwyd a dillad gerllaw iddo i'w cael. Pan geisia Duw wasanaeth, rhodda ddigon at ei wneyd bob amser. Y peth goreu a dal ei ffordd yw gwneyd y peth y mae Duw yn ei geisio. "A bu wedi talm o ddyddiau i Cain ddwyn o ffrwyth y ddaear offrwm i'r Arglwydd. Ac Abel yntau a ddwg o flaenffrwyth ei ddefaid, ac o'u brasder hwynt." Ni ofyna Duw ond am beth a ellir gael, a rhodda nerth digonol i ddyn ei wneyd. Gofynodd am flaenffrwyth y gwenith, ond daeth Cain a rhyw fath o ysgub; eithr dygodd Abel o'r blaenffrwyth a'r brasder. "Ac edrychodd Duw ar Abel;" bendith dyn yw fod Duw yn edrych arno, a'i golled yw pan na wna; bendith dyn yw gwrando beth a geisir ganddo, a'i golled yw peidio. Y mae llawer o Saint wedi mwynhau yr Ysbryd Glân, a chael gwybod beth y mae Duw yn geisio ganddynt, yn achwyn ei fod yn ormod; gwneyd y pethau y mae Duw yn geisio sydd yn eisieu, a chwithau yn cael cynnyg gwybodaeth o hyny trwy "Yr arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant." A Chain a ddigiodd wrth Dduw; gofalwch rhag hyn, o herwydd nid wyf fi am i neb wneuthur dim ond y peth a wn y mae Duw yn geisio. Y rhai a rwgnachant fod gormod yn ofynedig arnynt, ydynt euog o ddau drosedd mawr, sef anghrediniaeth ac anufydd-dod. "Edifarhewch a bedyddier chwi." Rhaid eich bedyddio, cais Duw yw; nid fel y mynoch y gwnewch. Y mae genyf adnabyddiaeth o'r efengyl hon, medd y Sant, yr hon a dderbyniais trwy glywed yn gyntaf bregethu, ac yna gwneyd yr hyn a bregethwyd. Ni allasent ei chael ar un ammod arall. "Eithr y Phariseaid a'r Cyfreithwyr yn eu herbyn eu hunain a ddiystyrasant gynghor Duw, heb eu bedyddio ganddo." Gwn mai cynghor Duw yw yr hyn a orchymynir i chwi; caiff pawb a greda wybod hyny. O'r ochr arall, os anghrheda ac anufyddha swyddog, amddifada ei hun o ysbryd ei swydd wrth gwrs, ac o bob rhinwedd a dderbynia oddiwrth ei swydd. Wrth hyn, ynte, frodyr, dysgwn wers, a bydded i ni wrando a gwneyd, ac yna rhaid i'r nefoedd ein bendithio, a'r arwyddion ein canlyn, sef bwyd, dillad, arian, a digon o bob peth er cyflawni gwaith Duw.

Cydsyniwyd yn unfrydol i gydnabod a dal i fyny yr holl Offeiriadaeth, o'r Brif Lywyddiaeth yn Seion hyd at Lywyddiaeth Cymru.

Y Llywydd Jones,—Mawr yw ein braint o gael arddangos ein cymmeradwyaeth o awdurdod y nefoedd ; y mae pob arddangos-

iad ychwanegol o'n heiddo yn dangos ychwanegiad o fendith ragoraf y nefoedd,—ei swyddogion. Cynnwysa ein Heglwys roddion harddach nâ'r perlau a addurnant goronau ymherawdwyr byd; mwy anrhydeddus a gwerthfawrocach na gogoniant darfodedig breninoedd daearol a'u holl olud bydol, yw y rhai yr esgynodd yr Iesu i'r uchelder am danynt, îe, rhoddion pena'r nef ydynt i'n daear. Nis gellir ammheu; rhaid i bawb addef lliosogrwydd swyddi pwysig yr Eglwys hon, er ei llywodraeth a'i threfn, ac nad oes yr un gyfundrefn arall yn debyg iddi i'w chael. Y mae ymraniadau a sefyllfa groes bleidiol ein cythryblus fyd yn ddigonol brawf o'u hamddifadrwydd hwy o honi, yn eu llywodraeth wladol a chrefyddol, ac yn eu holl fasnach. Diolch i Dduw, ynte, am gyfundrefn a'n dyga yn feddiannol ar Ysbryd a gylyma ein calonau oll yn un, a ddyga bawb a'i meddianna i gyd-weled, cyd-deimlo, a chydweithredu yn mhob peth. Teimladau o wir gariad at y Gynnadledd hon a barodd i mi osod y Llywydd R. Evans arnoch, credaf mai un o roddion goreu y nef i chwi yw, os gwnewch yn fawr o hono; canys ar wneyd hyn, ar eich gwrandawiad astud arno, a'ch ufydd-dod iddo yr ymddibyna eich lleshad a'ch dedwyddwch amserol a thragywyddol.

Cymmeradwywyd ef yn unfrydol.

WILLIAM LEWIS, *Ysgrifenydd.*

*(I'w barhau.)*

---

## RHAG-OFAL Y LLYWYDD B. YOUNG DROS YR YMFUDWYR.

AT YR ESGOBION.

*D. Ll. H. Mawr, Meh.* 28, 1854.

*At yr Esgob Edward Hunter, ac esgobion y gwahanol Ddosparthiadau yn y Dywysogaeth.*

HYSBYSED hyn ar i chwi fyned yn union, a dyfal ymholi, er deall pwy yn eich dosparthiadau a allant dderbyn i'w teuluoedd, neu i'w tai, rai o'r brodyr, neu aelodau o'u teuluoedd, ag ydynt ar eu taith tuag yma yn awr, a rhoddi gwaith ac ymborth iddynt hyd gynheuaf 1855, a chludo yr anghenus o'r Ddinas hon i'w gwahanol dynghedfanau.

Bydd anghen cynnorthwy yn ddiau ar ymfudwyr y Drysorfa Ymfudol, ac ereill, er cyrhaedd yma, am hyny, byddwch barod â gweddeuau i ddanfon i'w cynnorthwyo erbyn y 15fed o Awst. Gofynir i chwi weithredu, nid yn unig yn ddiwyd, ond yn uniongyrchol, ac i fynegi i Swyddfa y Llywydd heb oedi, eich gweithrediadau, a'ch gallu i wneyd mewn gweddeuau, gweddeuwyr, a phedrolfeni i ddanfon i'w cyfarfod.

Edryched y Llywydd Hunter y rhodda yr holl esgobion a nodwyd yr hysbysiadau gofynedig erbyn y 15fed o Awst, fel y deallwn pa faint o gynnorthwy a allwn roddi, a pha le y danfonwn yr ymfudwyr dyfodol.

Mewn hyder am weithrediad uniongyrchol genych,

Ydym fel erioed,

Eich brodyr,

BRIGHAM YOUNG.
H. C. KIMBALL.
J. M. GRANT.

A gyfieithiwyd gan Wm. Lewis

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

YR "*Eurgrawn Ysgrythyrol.*"—Mewn atebiad i ofyniadau amryw, hysbyswn y ceir yr "*Eurgrawn*" heb ei rwymo am 2s 4c i'r dosparthwr, ei bris yw 2s 6c, a gellir cael y pedwar rhifyn olaf am 3½c yr un i'r prif ddosparthwyr, a 4½c i'r is-ddosparthwyr, a'u gwerthu am 5 yn lle 6 cheiniog, os ymholir â'r Dosparthwyr yn fuan. Bydd yn fwy cyfleus felly i'r sawl a ddewiso eu cyd rwymo â llyfrau ereill.

O'R WASG YN DDIWEDDAR,—"*Pa beth yw Mormoniaeth,*" tracthawd o 4 tud., ei bris yw 3s y cant i'r prif ddosparthwyr, a 3s 9c i'r is-ddosparthwyr, ac i'w werthu am ddimai.

*Hefyd,* daeth allan yn ddiweddar "*Peidiwch a'u gwrando,*" 8 tud. Ei bris yw 3s 4c i'r prif ddosparthwyr, a 3s 10c y cant i'r is-ddosparthwyr, i'w werthu am ddimai! Hyderwn yr anrhega y Saint bob pregethwr a sectwr a fynych bregethant ar y testun hwn â'r bregeth ddidderbynwyneb hon, fel y deallont beth y maent yn wneuthur.

Yn y Wasg, ac a ddaw allan yr wythnos nesaf,—"*Profion anwrthwynebol nad o'r 'Spaulding Romance' y gwnaed Llyfr Mormon.*" Hen chwedl boblogaidd arw yw y cyhuddiad uchod, eithr dyry y traethawd bychan hwn farwol glwyf iddi lle bynag yr elo, a chrefwn ar garwyr y gwir ei chwalu ef ar ei hol i bob cwr o'n gwlad lle yr arogla ei sawyr andwyol hi.

---

Yr "*Arweinydd i Seion.*"—Yr oeddem wedi bwriadu oedi y traethawd hwn hyd oni chaffem hysbysiad diweddar o'r ffordd a fwriedir i'r Ymfudwyr deithio dros y *plains* yn y tymmor nesaf; eithr o herwydd nad oes sicrwydd am hyny,—gan na chyhoeddwn ddim ar antur, ac o herwydd fod yr ymfudwyr eleni yn dysgwyl wrtho am gyfarwyddiadau i ymbarotoi, barnwyd yn ddoethach ddyfod ag ef allan heb hyny, ac am hanner y pris a fuasai pe cynwysai hyny. Yn awr, dyry i bob dosparth o ymfudwyr bob cyfarwyddiadau i ymbarotoi gartref, ar y daith dros y môr, a'r ochr draw; pa bethau i gymmeryd gyda hwynt, a beth i beidio, yn gelfi, dilladau, bwydydd, &c. Mewn gair, ni ellir dweyd ei holl gyfarwyddiadau heb ei adrodd ef i gyd, ond fe fydd o elw mawr i bob ymfudwr ei gael! Ynddo ceir ateb i bob gofyniad a ddaw i'r meddwl braidd, o leiaf, ateba bob peth a ddaeth i feddwl yr awdwr ar daith i California ac yn ol ar y testun a broffesa.

Ei bris i'r prif ddosparthwyr yw 11s y cant, a 12s i'r is-ddosparthwyr, ac i gael ei werthu am geiniog a dimai yr un.

---

Derbyniadau am Lyfrau o Hyd. 4 hyd 19.—George W. Davies, £5; E. Middleton, £8; Griffith Roberts, £1 9s; A. L. Jones, £5.

---

☞ Gwelliant gwall.—Yn y rhifyn blaenorol diangodd y gair *Tachwedd* yn lle *Hydref*, eithr gobeithiwn na chreda neb y bwriadem ladrata Hydref oddiarnynt!

---

⁂ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 35.] TACHWEDD 4, 1854. [CYF. VII.

# DARLITH AR YR ADGYFODIAD CYNTAF, GAN Y LLYWYDD B. YOUNG.

*A draddodwyd yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Mawr, Hydref 3, 1852, wedi i'r Henuriad Orson Hyde lefaru.*

*(O'r "Deseret News.")*

TRWY ganiatâd, gwnaf ychydig o sylwadau ar yr egwyddorion a draddodwyd gan yr Henuriad Hyde.

Yn gyntaf,—llefaraf ychydig o eiriau perthynol i'r adgyfodiad. Mae yr egwyddorion hyn yn ddyddorol.—Iawn adnabyddiaeth, a chywir ddealltwriaeth o honynt ydynt ffynonnell o gysur a llawenydd mawr i Saint Duw. Mae y Brawd Hyde yn ei sylwadau yn lled wyliadwrus, ac yn awgrymu hyn a'r llall, yn unig fel y tybiai, eithr ein braint ydyw deall llawer o'r pethau hyn oddiwrth eglurhad yr Ysbryd Glân i ni ein hunain, drwy y dadguddiadau a roddwyd i ereill, ac oddiwrth addysgiadau y rhai a fuont gyda ni.

Wrth sôn am ddyfodiad yr Arglwydd Iesu Grist fel lleidr yn y nos, neu fel y goleuni boreuol, fel y gwelo pob cnawd ynghyd ei ogoniant; a llawer o ddywediadau ereill o'r fath, os cyssylltwch hwynt oll yn un, crëant lawer o ddyryswch yn y meddwl.

Etto, os tybiwn fod yr Iachawdwr yn dyfod unwaith i bawb, ac yn ei ail ddyfodiad y dinystria yr holl rai drygionus, ac y glanhâ y ddaear oddiwrth ei gwaed a'i llygredigaeth, gwrth-

wynebai lawer o ddywediadau ereill yn yr ysgrythyrau santaidd.

Meddyliaf fod gan gryn nifer o'r bobl hyn feddylddrychau rhagorol, ac y mae gan lawer o honynt feddylddrychau cywir mewn perthynas i ddyfodiad Mab y Dyn.

Yn y man cyntaf, caniatewch i mi sylwi, fod yr Iesu at ei ryddid ; y mae ganddo y nerth, y gallu, a'r hawl, pryd bynag ei cyfrifa yn anghenrheidiol, i ddadguddio ei hun i un person, neu i werin, amlyga ei hun i'r gynnulleidfa pan yn ei haddoliad cyhoeddus os mŷn. Mewn gair, daw pan y mŷno.

Arddengys yr iawn syniaeth o gymmeriad yr Iachawdwr, fel y deallwn ni ei gymmeriad, fod ganddo hawl i ymddangos i unrhyw berson ganol dydd, ganol y nos, yn y boreu, neu yn yr hwyr ; y fan, y pryd, a'r modd a ddewiso. Hyn yw ei hawl diammheuol.

Wrth lefaru am yr adgyfodiad, neu ymddangosiad yr Iachawdwr, darllenwn ynghylch hyny yn yr hen lyfr da. Pa bryd mae yr adgyfodiad cyntaf? Pe atebai y gynnulleidfa y gofyniad hwn, pa beth a ddywedent? Nid yw yn mysg y pethau a fyddant ; y mae yn yr hyn a aeth heibio; yr oedd pan y disgynodd yr angylion, ac y treigliasant y maen yn ol o enau y bedd lle y gorweddai yr Iachawdwr; pan adgymmerodd yr Iesu ei gorff ; dyna adgyfodiad cyntaf bôd marwol i anfarwoldeb ar y ddaear hon ; a'r hyn a aeth heibio er ys amser hir.

Yr angylion hyny a aethant yno, i ba beth? I lefaru wrth lwch cysglyd, nid yn unig eiddo yr Iachawdwr, eithr Abraham yn un, ac wrth bob tebygolrwydd fod Lot yn un arall, Noah yn un arall, a Moses yn un arall, gan ddweyd cyfodwch oddiwrth y meirw ; y mae yn amser i'ch cyrff i ddihuno o'u cysgadrwydd oesawl, a gadael y bedd llychlyd ; ac felly yr adgyfodwyd llawer o'r Saint wedi adgyfodiad Crist ; ond pwy a gredodd hyny ? Pwy a wyddai am dano? Pwy a'i tystiolaethodd? Neb, ond y pleidiau perthynol. Ni roddodd un hanesydd erioed hanes am dano, oddieithr y rhai a ysgrifenasant y dystiolaeth gynnwysedig yn y llyfr hwn, y Testament Newydd, a Llyfr Mormon. Y tystion pleidiol hyn ydynt unig dystiolaethwyr y ffaith hon,—pwy a'u cred yn ein dyddiau ni? Y rhai hyny yn unig ag y dadguddiwyd y pethau hyn iddynt. Tystiodd ein tadau a'n mamau i'r athrawiaeth fel ei cynnwysir yn y Testa-

ment Newydd; dysgodd ein hoffeiriaid ni i'w chredu fel y mae yn ysgrifenedig yno; ond pwy a'i gwyr? Y rhai y dadguddiodd Duw hyny iddynt. Y rhai hyn, fy mrodyr, ydynt dystion mai hyn yw fy athrawiaeth innau.

Pa fodd yr adnabyddwn ac y deallwn bethau Duw? Wrth y goleuni a lefarodd y Brawd Hyde am dano; Crist yw goleuni y byd, a goleua bob dyn sydd yn dyfod i'r byd, Sant a phechadur; Efe yw ffynnonell gwirionedd a gwybodaeth i'r greadigaeth hon.

Dywedaf etto mewn perthynas i'r adgyfodiad, neu ddyfodiad Mab y Dyn, fel y dywedais eisoes; mae yr adgyfodiad wedi dechreu er ys hir amser; a beth a wn i nad oes llawer wedi eu hadgyfodi oddiar yr amser y treiglodd yr angylion y maen oddiwrth y bedd, ac y galwasant allan gorff yr Iachawdwr? Dywed yr ysgrythyrau i lawer o'r Saint gyfodi ac ymddangos i lawer; eithr pa nifer a adgyfodwyd wed'yn nis gwn. Pa hyd y bydd cyn y dechreua yr adgyfodiad etto nis gwn, eithr da genyf gredu na fydd yn faith; dedwydd ydwyf wrth gredu fod adgyfodiad y dydd diweddaf yn agos. Pwy a gyfodir? Y Saint,—y rhai sydd yn huno yn yr Iesu, y rhai a amlygasant i'r Tad, i'r Mab, i'r angylion santaidd, ac idd eu holl berthynasau ar y ddaear, eu bod yn credu yn Nuw, ac yn cydnabod ei law yn mhob peth, ac ydynt wedi ei wasanaethu goreu y gallasant. A ddaw yr Iesu? Daw.

Dychymygwn amgylchiad, gadewch i'r gynnulleidfa hon fod yn barod i dderbyn ymweliad gan Fab y Dyn; tybiwch fod eu calonau yn santeiddiedig gerbron yr Arglwydd, neu y santeiddiasant yr Arglwydd Dduw yn eu calonau, a'u bod yn ymgynnulliedig yma i'w wasanaethu, ei foli, lle y mwynhâwn gymdeithas ein gilydd, a dawn yr Ysbryd Glân, yn neillduedig oddiwrth holl drafodaeth fasnachol perthynol i'r bywyd dynol, a'r drysau yn nghau, a'r Iesu yn dyfod i'n plith, tafla ymaith y llèn oddiar ein llygaid, fel y gwnaeth oddiar lygaid y ddau ddyscybl a ymdeithiasant o Jerusalem, canys ni adnabuasant ef hyd nes y torrodd fara wrth swpera,—tybiwch yr ymddangosa yn ein canol, ac y rhwyga y llèn oddiar ein llygaid; chwi a'i hadnabyddech; dywedai, wele ôl yr hoelion yn fy nwylaw, wele y fan y gwanwyd fy ochr; edrychwch arnynt, frodyr a chwiorydd, canys Myfi yw. Byddai pob llygad arno, a charai

pob calon Ef. Pe yr arosai gyda ni am amser ac yr elai ymaith.

Pe y gwasgarem ar led ac ar hyd y ddaear, ac y tystiolaethem beth a welsom, gofynaf, pwy a gredai ein tystiolaeth? Neb, oddieithr y bwriadai yr Arglwydd ei ddadguddio iddynt, gan angel santaidd, neu amlygiad o'i berson ei hun. Gallem dystio i hyny hyd oni syrthiem i'r bedd, i ddim dyben, oddieithr i'r Ysbryd ei amlygu iddynt; ni fyddai yn bosibl i un person ei wybod oddieithr i Dduw ei hysbysu iddo.

Pwnc o athrawiaeth ydyw hwn a deimlaf ei argraffu ar feddyliau y bobl hyn yn barhaus, h.y., i fyw yn ngoleuni Ysbryd Duw, fel y caffo pob dyn a dynes ddadguddiadau iddynt eu hunain, canys gall Ysbryd yr Arglwydd eich haddysgu, fel y gwybyddoch drosoch eich hunain.

A adgyfoda y Saint oddiwrth y meirw? Gwnant. Pwy a wybyddant hyny? Neb ond ychydig. Pan ddechreuo yr adgyfodiad, dywedaf nad ond ychydig a wybyddant hyny; a chaniatewch i mi eich hysbysu, pan y gwelech Joseph, Hyrum, a'r Tad Smith, a llawer ereill wedi adgyfodi oddiwrth y meirw, a chwithau Henuriaid yn myned oddicartref i bregethu, ni ddywedwch wrth y byd am eu hadgyfodiad, canys ni chredant hyny. Gallwch dystiolaethu fod y Tad Smith wedi adgyfodi, a bod Joseph a Hyrum yn meddu eu cyrff etto, a'u bod yn byw etto yn y cnawd, a hwy a'ch gwatwarent chwi, ac a'ch erlidient i farwolaeth, pe byddai gallu ganddynt, o herwydd eich tystiolaeth.

A adgyfoda y Saint oddiwrth y meirw cyn yr argyhoeddir y byd? Gwnant. Gallwch anobeithio i weled yr holl greadigaeth byth wedi eu troi at yr Arglwydd Iesu, neu i ffydd yr efengyl santaidd. A welwch chwi yr adgyfodiad? Gwelwch, byddwch ynddo, a mwynhewch ef; byddwch yn yr adgyfodiad cyntaf.—A greda y byd hyny, neu a fyddant hwy yn ei wybod? Na fyddant. Gwaredir Seion, adeiladir Teml fawr yr Arglwydd, ar yr hon y gorphwysa gogoniant yr Arglwydd, a chwmwl y dydd, a cholofn o dân y nos; y Saint a ymgasglant o bob cenedl, a hwy a ânt i mewn i Demlau Duw, i wneyd gwaith y prynedigaeth dros eu mheirw, a bod yn iachawdwyr ar Fynydd Seion i achub tŷ Esau. Ond a wybydda y cenedloedd hyny. Na wybyddant. A phan y teyrnasa yr Arglwyddd yn Frenin

cenedloedd fel y mae yn Frenin y Saint, ni chred trigolion y ddaear nad gallu rhyw ddyn medrus ydyw, eithr tybiant mai cynlluniau dynion doeth wedi eu rhoddi mewn gweithrediad yw y cyfan.

Felly eu llywodraethir ac eu rheolir, eu tra arglwyddiaethir ac eu harweinir gan egwyddorion yr Offeiriadaeth santaidd, ac ni amheuant nad gwaith ydyw o eiddo dynion doethion wrth ben cenedl gref, rhai hyddysg mewn llywodraethu, yn medru iawn lywodraethu cenedl eu hunain, ac yna dwyn yn ddarostyngedig eu cenedloedd cymmydogaethol, hyd nes y daw yr holl ddaear yn ostyngedig iddynt. Ni adnabyddant mai yr Iachawdwr sydd yn teyrnasu yn frenhin cenedloedd fel y mae yn frenhin y Saint. Bydd rhan helaeth o drigolion y ddaear na amheuant nad effaith doethineb dynion ydyw.

Cyfarwyddir y Saint pa fodd i adeiliadu Seion, pa fodd i adeiliadu temlau, a gwneyd gwaith y brynedigaeth i'w mheirw, ac ni wybydda cenedloedd y ddaear ddim ynghylch hyny. Pan ddygir y milfiwyddiant i mewn, ni wybydda un dyn na dynes unpeth yn ei gylch, ond yn unig trwy allu Duw. Efe a lywodraetha ac a deyrnasa, a bydd ei ogoniant yn Seion, ac ni wyr y drygionus mai llaw ein Duw ni ydyw. Y Saint a fwynhânt ddysclaerdeb ei wynebpryd, rhodiant ynddo, a phreswyliant yn ei bresennoldeb.

Dealler y pethau hyn gan y bobl yma, ac os oes Henuriad yn Israel, neu bersonau yn yr ystafell yma, nad ydynt yn credu yr hyn a ddywedais wrthynt am yr adgyfodiad, aroswch hyd oni ddaw i ben, ac yna gwybyddwch hyny drosoch eich hunain. Nid wyf yn gofalu pa un a gredwch hyny ai peidio, eithr dywedaf wrthych pa beth a ofalaf fwyaf am dano, a'r unig beth ag wyf yn gofalu am dano yw, a fydd y bobl hyn yn barod i hyny. A garwch chwi yr Arglwydd Iesu Grist, a'i wasanaethu a'ch holl feddwl a'ch nerth.

Nid ydwyf yn gofalu pa beth ydych yn gredu, canys ni wna effeithio na chyfnewid yr hyn a fodola. A wna y bobl hyn wasanaethu Duw, gwneyd daioni, a byw yn gysurus gyda'u gilydd—lledaenu yr efengyl ar led, a chasglu y Saint? Ni phrisiaf ludw gwelltyn rhag pa un a gredwch yr hyn wyf yn ddweyd am yr adgyfodiad, ynte ei anghredu a wnewch, os carwch ac y gwasanaethwch Dduw a'ch holl galonau; credwch

beth a fynoch os gwnewch ddaioni yn barhaus a dim drwg; os peidiwch byth a chyflawni pechod arall yn erbyn Duw, neu eich cymmydog, eithr bod bob amser o'r boreu hwn yn llawn o weithredoedd da, yn gwasanaethu yr Arglwydd a'ch holl galonau.

Gofynaf i'r bobl y boreu hwn, cyn y cychwynaf ddim yn mhellach, os nad oes rhyw ychydig o ddynion yn y gynulleidfa hon ag ydynt yn y sefyllfa ag y gallant amlygu eu cymmwynasgarwch trwy anfon allan ychydig rhagor o weddeuau i gyfarfod a'r ymfudwyr, canys y mae perygl fod dynion a benywod yn dyoddef yn yr eira.

Yr ydwyf am wybod os oes yma ddigon o gyfiawnder i godi tua dwsin o weddeuau ; os gwnewch, ni hidiaf pa beth a gredwch am yr adgyfodiad. Os caf ddigon o grefydd yn y bobl i gyflawni hyny, boddlona fi yn bresennol. Ar ddiwedd y cyfarfod dymunaf ar i'r rhai ag ydynt foddlawn i fyned a chynnorthwyo y dyoddefyddion i ddyfod yn mlaen a dweyd yr anfonant weddeuau i'r dyben hyny.

*Cyf.* Wm. Lewis.

---

## NEWYDDION O'R DYFFRYN.

*D. Ll. H. Mawr, Awst* 2, 1854.

Yr Henuriad F. D. Richards,—Anwyl Frawd,—Yr ydych yn wybodus am y clefydau ag ydynt yn dueddol o ymosod ar ein brodyr anghyfarwydd â'r hinsawdd ar yr afon Mississippi, am hyny, dymunaf na chludwch ychwaneg i Orleans Newydd, eithr yn hytrach danfonwch hwynt trwy Philadelphia, Boston, a Chaerefrog Newydd. Pan ymfudwch gwmpeini mawr neu fychan, gofalwch i rag anfon i'r Henuriad John Taylor, yn ninas Caerefrog Newydd, gofrestr gywir o enwau y personau yn mhob cwmpeini, ynghyd a'u galwedigaethau, a chyfrif agos pa faint o feddiannau a feddant. Gwneler hyny mewn amser prydlawn, fel ei derbynier yn brydlawn gan yr Henuriad John Taylor cyn y tiria y Cwmpeini, fel y cyfarwydder pa fodd yr ymbarotöa i'w cyfarfod, neu i osod rhyw berson addas i wneyd hyny, a'u cynghori yn union pan y tiriant pa lwybr fydd oreu i bob un yn mhob cwmpeini gymmeryd, h.y., pa un

ai aros am yspaid yn y lle neu y gymmydogaeth y tiriasant, neu gychwyn yn mlaen i Cincinnatti a'i chylchoedd, &c.

Os dewisa rhai etto ymfudo trwy New Orleans, na ddanfonwch hwynt o Loegr yn ddiweddarach nâ dechreu Rhagfyr, fel eu galluoger i adael yr afonydd cyn y dechreuo y tymmor clefydog, canys bu farw llawer o'r Cholera a chlefydau ereill perthynol i'r tymmor afiachus ar yr afonydd, ac nid wyf am i'r brodyr gael cymmaint o'u peryglu ag a gawsant; a chynghorwch hwynt i brysuro i fyny i'r afonydd, a myned i ffwrdd i Missouri ac Iowa i weithio, neu yn mlaen i'r gwastadedd, fel bo'r amgylchiad, cyn y delo y tywydd twymn.

Oddiwrth y newyddion diweddaf, deallwn i'r holl Henuriaid sydd ar eu ffordd o'r dyffrynoedd hyn i gyflawni amrywiol genadiaethau gael eu bendithio mewn cyflawnder, a'u llwyddo ar eu taith, ac y cyrhaeddant i'w hamrywiol faesydd llafur yn fuan wrth bob tebygolrwydd. Sonir am beth clefyd, ac amryw o farwolaethau yn mhlith y brodyr sydd yn croesi y gwastadedd, eithr ni chyrhaeddodd un hysbysiad pendant ni etto, o'u sefyllfa a'u symudiadau, ac oddiwrth yr oll a allwn ddirnad, gyrant yn mlaen yn arferol o hwylus, ond bydd rhai yn lled hwyr yn cyrhaedd yma.

Cwblheir y gwaith *adobie* ar fur y Temple Block yn fuan, mae llawer o'r sylfaeni wedi eu nhaddu yn barod i'w gosod, ac y mae amryw weithwyr yn ymwneyd yn ddiwyd a gosod blockiau anferth o gerrig yn sylfaen gadarn y Deml. Mae argoelion yn parhau yn dda am gynheuaf toreithiog yn gyffredinol, er fod cenllusg a cheiliogod y rhedyn wedi niweidio mwy neu lai ar y cnydiau a'r gerddi. Mae hyn oll yn dda, ac achosa llawdriniaeth dyner a doeth yr Arglwydd i'r bobl i fod yn fwy diolchgar am, a gofalus o'r gweddill.

Mwynheir iechyd da yn barhaus yn ein holl sefydliadau, a pharha holl faterion busnesol a chyssylltiadau Indiaidd yn llwyddiannus a chyfeillgar.

Mae nwyfau yn dyfod mewn cyflawnder, ac y mae ychydig o ostyngiad yn eu prisiau, yr hyn sydd yn debyg o barhau hyd nes y prynir y mwyafrif o nwyfau marchnadol am brisiau rhesymol Bydd hyn yn fanteisiol iawn i'r rhai na feddant ond ychydig foddion, ac y mae yn arddangosiad o dyner ragluniaeth ein Tad nefol.

Mae eich teulu yn iach, hefyd teuluoedd yr holl Henuriaid tramor, cyn belled ag y gwn.

Gan weddio am eich llwyddiant a'ch lles yn lwybr pob gwirionedd a dyledswyddau,

Ydwyf, eich brawd yn y cyfammod,

BRIGHAM YOUNG.

A gyfieithiwyd gan Wm. Lewis.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, TACHWEDD, 4, 1854.

NEWYDDION CARTREFOL.—Cawsom y mawr bleser o dreilio Cymmanfa berthynol i Gynnadledd Sir Henffordd, a gynnaliwyd yn Pontypool, Sul yr 8fed o'r mis diweddaf, lle y cyfarfuom a'r hybeirch frodyr o Seion, C. G. Webb, E. Ellsworth, y Bugail Barker, y Llywydd Galloway, a llu o frodyr ffyddlon ereill, a Saint yn llawn sel a chariad at eu gilydd ac at achos Duw. Fe orlanwyd y Neuadd trwy y dydd, ac am 2 o'r gloch cawsom yr anrhydedd o bregethu gair y bywyd i'r dyrfa siriol yn Gymraeg, y rhai, os iawn barnu yn ol eu hymddangosiad astud a llawen, oeddynt yn ymborthi yn flasus ar yr oll a glywent. Cawsom addysgiadau dyddorol iawn gan yr Henuriaid ereill, a mawr roesawiad yn yr wyl nos Lun; a diau fod llawer o leshâd wedi ei wneuthur i'r gwrandawwyr parchus. Y mae yr efengyl ar ei chynnydd o'r newydd yn mhlith ein cymmydogion hyn, ac y mae y Saint wedi ymadnewyddu yn rhyfeddol. Mawr oedd ymholiad y brodyr Cymreig am draethodau Cymraeg! Anfonodd y Llywydd Galloway am werth dros bum punt o rai Cymraeg at eu gwasanaeth; a'r Arglwydd a fendithio eu hymdrechiadau yn helaeth.

Dywenydd genym allu canmol duwioldeb a sel Saint Sir Fynwy; cawsom bleser anhawdd ei draethu yn ein hymweliad ag amrywiol gangenau drwy yr wythnos ganlynol gyda y

Llywydd Giles, &c. Yn mhob man clywid sŵn bedyddio, a mwy na sôn am hyny mewn rhai manau, cawsom y pleser o bregethu ar lán y dwfr lle y gwelid y *ffaith*, ac y cafwyd gwrandawiad astud gan liaws; ac, ond i'r Saint gyflawni eu haddunedau i ffyddlondeb gyda'r gwaith, bydd llwyddiant mawr a buan yn eu dilyn. Boddhawyd ni yn fawr yn eu hundeb, eu cariad, eu parch i'r Offeiriadaeth, a'u hufydd-dod i'w dysgeidiaeth. Cynnyddu a wnelo dylanwad y Llywydd Giles a phob Llywydd arall a ymdrecho fel efe i adeiladu teyrnas ein Duw, hyd nes y caffont bob swyddog ac aelod i ufyddhau i bob cynghor o'u heiddo; a phe felly ni allent beidio a llwyddo; ac hyderwn y dyry cyfnerthiad grymus yr hen frodyr ffyddlon sydd gan y Llywydd Giles yn ddewiswyr drwy ei Gynnadledd. Sir Fynwy ar dân cyn hir, hyd nes y gwelo hyd y nod y deillion, y rheffynau sectyddol sydd yn caethiwo eu heneidiau, ac yr ymysgydwant o honynt.

Amlwg oedd dylanwadau Ysbryd Duw yn y Gymmanfa yn Tredegar y Sul canlynol hefyd, a chafwyd rhwyddineb mawr i lefaru gan y Llywyddion Daniels, Ellsworth, Evans, Galloway, Giles, &c., ac ymbleserai y gwrandawwyr yn yr hyn a glywent, serch fod y Neuadd yn orlawn a llawer allan yn y gwlaw. Yn y prydnawn, yn ddilynol i annogaethau gwresog yr Henuriad Ellsworth i gynnyddiant yn mhob duwioldeb a diwydrwydd i gario gwaith Duw yn mlaen, cawsom y cyfleustra i alw sylw y Saint at bwysigrwydd eu tystiolaeth a'u dyledswydd i'r byd yn ngwyneb hyny, o iawn gyfranu iddynt wybodaeth o'r gwirionedd drwy iawn fucheddu, tystiolaethu, a diwydrwydd i ddosparthu traethodau; ar ol yr hyn, ar gais y Llywydd Giles, arwyddodd y dorf eu penderfyniad i werthu yr oll a anfonid iddynt. Danghosodd cyfrifon y Gynnadledd ffyddlondeb canmoladwy yn y Saint i dalu eu dyledion i'r Gynnadledd, ac am eu llyfrau. Cynnaliwyd cwrdd y Gymdeithas Genadol nos Lun, lle y danghosodd yr areithwyr gwresog fawr sel dros yr achos daionus.

---

*Brycheiniog.*--Cynnaliwyd y Gymmanfa hon yn Brynmawr, ar yr 8fed o Hydref. Cynnrychiolwyd 7 o gangenau, yn cynnwys 25 Henuriad, 8 Offeiriad, 6 Athraw, 6 wedi eu bedyddio, a'r cyfanrif yn 141. Teimlwyd grymus weithrediadau yr Ys-

bryd Glân yn gydfynedol â'r ddysgeidiaeth ddwyfol a roddwyd gan y Llywydd Daniels ac ereill, ac ymddangosodd pawb wrth eu bodd. Hyderwn y corona Duw eu llafur â llwyddiant mawr, er lleshad dynion a gogoniant i'w enw.

---

## CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG.

MYGEDAWG LYWYDD JONES,—Gyda phleser anghyffredin y gallaf hysbysu darllenwyr yr UDGORN o hanes byr am ein Cymmanfa. Cynnaliwyd ein Cymmanfa, Hydref 22, yn y *Saint's Hall, Orange Street*, Abertawy.

Yr oedd yr ystafell yn orlawn, ac ymdyrodd y gwrandawwyr nes llanw y tu allan i'n cynteddau.

Aethpwyd yn mlaen fel arferol gyda phethau perthynol i waith dyddorol ein Cynnadledd. Dangoswyd unfrydoldeb trylwyr i ddal i fyny awdurdodau yr Eglwys hon. Yr oedd pawb yn foddus, a gwên yn chwarae ar wefusau, a sirioldeb yn dawnsio ar ruddiau yr holl Saint, a mwynhad o'r Ysbryd Glân yn gyffredinol, ac i raddau cynnyddol i'w weled yn amlwg ar wynebau pawb. Cynnaliwyd cyfarfodydd yn y boreu, prydnawn, a'r hwyr.

Addysgwyd a phregethwyd gan yr Henuriaid canlynol, sef Capt. Jones, T. Jeremy, R. Evans, J. Price, D. Rees, B. Jones, Thomas Jones, &c. Cawsont gymhorth i bregethu, cafodd y y Saint eu hadeiladu, a'r gwrandawwyr dystiolaethau cedyrn a diwrthbrawf.

Y cynnrychioliad sydd fel y canlyn:—Arch. 1, Hen. 65, Off 29, Ath. 25, Diac. 19, bu farw 1, Bed. 25,—Oll 463.

Mae gwaith Duw ar gynnydd buan yn y Gynnadledd hon. Cynnaliasom ddeg o Gymmanfaoedd pregethu, mewn gwahanol fanau yn y cylch hwn. Lliaws mawr a ymdyrant i'n gwrandaw. Yn Ystradgynlais yn ddiweddar cawsom tua dwy fil o wrandawwyr, ac arwydd y fod yno ugeiniau yn credu. Gwyr cyfrifol hefyd a ddeuant i'n gwrandaw, a chofnodir ein pregethau yn ofalus ganddynt.

Yr ydym wedi rhoddi heibio pregethu allan am ryw dymmor, gan benderfynu tystiolaethu o dŷ i dŷ, dosparthu traethodau trwy y trwch yn ein cyfer, fel y gallo y rhai hyn bregethu, lle

na fyddo amser genym ni i ymweled ond yn anaml. Dosparthasom tua *naw mil* o draethodau yn yr wythnosau a aethant heibio, a dosparthir miloedd etto yn yr wythnosau dyfodol, Ymddengys y swyddogion a'r Saint, fel pe byddent am dynu teyrnas y gelyn yn chwilfriw cyn pen bythefnos. "*Go a head.*"

Nid oes genym amser i geintach, athrodi, a chyhuddo y naill y llall gadawn hyny yn hollol i'r byd ag ydynt hoff o hono.

Yr eiddoch yn ddidwyll yn y C. T.,
Yn serchus fel arfer,
DEWI ELFED JONES.

---

## EISTEDDFOD CYNNADLEDD ABERTAWY.

CYNNELIR yr Eisteddfod uchod, yn Neuadd y Saint, *Orange Street*, Dydd Nadolig nesaf.

Cymmerir y gadair am 3 o'r gloch prydnawn. *Eiddunir* gyda thaerineb, *gydweithrediad* a *phresennoldeb* holl brydyddion a beirdd y Saint trwy Gymru benbaladr.

Hyderir y bydd i awen ffrochwyllt y beirdd daflu allan i ni gyfansoddiadau destlus a phenigamp.

### TESTUNAU A GWOBRWYON.

1. Am y gân oreu ar yr "Ymfudiad," ar y dôn "Boreu teg."—Llyfr Mormon yn Gymraeg.

2. Am y gân neu y cyfansoddiad goreu ar Wladgarwch, rhyddid, a gwirionedd.—Llyfr Mormon yn Saesneg.

3. Am y gân oreu ar Ymdrechion y Saint yn Nghynnadledd Orllewinol Morganwg, ar y dôn "Hedydd lon.—Llyfr Mormon yn Ffrengaeg, (*Le Livre de Mormon*).

4. Am y gân oreu ar Ymdrechion y Saint yn Nghymru, ar y dôn "Codiad yr Uchedydd."—Llyfr Mormon Ellmynaeg (*Das Buch Mormon*).

5. Am y gân oreu i ARGRAFF WASG Y SAINT yn Abertawy, ar y dôn "Merch Meigen."—Llyfr Mormon yn Italaeg (*Il Libro di Mormon*).

6. Am y gân oreu ar "Hiraeth am Seion," ar y dôn "Sweet Home."—Llyfr Mormon yn y Danaeg (*Mormon's Bog*).

7. Am y gân oreu i'r "Drysorfa Ymfudol Barhaus, ar y don "Aderyn pur."—Yr Eurgrawn Ysgrythyrol.

8. I'r dyn a wertho fwyaf o draethodau,—"Gweithiau awdurol Capt. Jones, am y fl. 1854." wedi ei rwymo yn hardd.

9. I'r chwaer a wertho fwyaf, etto.—Darlun o Brif Lywyddiaeth a Deuddeg Apostol Saint y Dyddiau Diweddaf.

10. I'r bachgenyn o dan 14eg oed, a edrydd fwyaf o Gatechism yr Henuriad J. Jaques.—Llyfr Hymnau o'r rhwymiad goreu yn Gymraeg a Saesneg.

11. I'r enethig o dan 12eg oed, etto.—Llyfr Hymnau Cymraeg o'r rhwymiad goreu, a'r Perl o Fawr Bris yn Saesneg.

12. I'r sawl a gasglo fwyaf o dderbynwyr newyddion i "UDGORN SEION" am y flwyddyn ddyfodol.—Cyfrol o "Udgorn Seion" am 1854, o'r rhwymiad goreu.

13. I'r sawl a wna fwyaf o ddaioni yn ol y feirniadaeth yn yr Eisteddfod ar y goreuon yn mhob Cangen.—Ath. a Chyf. o rwymiad hardd.

14. I'r sawl a fedyddio fwyaf o hyn hyd amser yr Eisteddfod. —"*Biographical Sketches of Joseph Smith the Prophet.*"

DADGEINIAID.

1. I'r Datganydd goreu o "*Joseph the Seer.*"—Llyfr Hymnau Cymraeg o rwymiad hardd.

2. I'r Dadganydd goreu o "Sectariaeth yn y Fagl," gan Dewi Elfed.—Ath. a Chyf. o rwymiad hardd.

3. I'r Dadganydd goreu o "Y Trysor o'r Mynydd," gan N. Ddu.—Yr Eurgrawn Ysgrythyrol.

4. I'r Dadganydd goreu o Gyflafan Nauvoo," gan Dewi Elfed. —"*Spencer's Letters*" o rwymiad hardd.

Y CÔR.

Bydd i amryw dônau, o waith yr awduron goreu, i gael eu canu yn fedrus rhwng adroddiadau y gwahanol gyfansoddiadau, &c.

Bydd plant yr awen at eu rhyddid hefyd i ganu ar y testunau a fynont, a'r mesurau a ewyllysiont, caethion neu ryddion, heblaw y cyfryw a enwyd uchod.

Cynnelir cyfarfod tebyg yn Aberafon, Rhag. 26, ac yn Pontardawe ar y 27ain.

Dysgwylir i'r Cyfansoddiadau ac enwau yr holl ymgeiswyr i gael eu hanfon wythnos yn flaenorol i law "Dewi Elfed Jones, No. 12, Carmarthen Buildings, High Street, Swansea."

Y Cyfansoddiadau i fod yn eiddo yr Eisteddfod.

Yr eiddoch oll, ac oll yn eiddoch, wrth lai o rybudd nac "*un dydd a blwyddyn,*"

Yn serchus fel arfer,

DEWI ELFED JONES.
Llywydd y Gynnadledd.

---

D.S. Cynnelir yr Eisteddfod dan nawdd y Llywyddiaeth yn Nghymru.

CAPT. JONES.
THOS. JEREMY.
D. DANIELS.

---

## NEWYDDION TRAMOR.

YSGRIFENA yr Apostol Erastus Snow o St. Louis dyddiedig Medi 12, ei fod ef a nifer o genadon eraill i'r Taleithiau ac un i Loegr, wedi gadael Utah Gorph. yr 8fed a dyfod trwodd mewn daufis a hanner. Bu yr ymfudiad i California ac i Oregon yn lliosog iawn eleni, a mwy o anifeiliaid nag a aeth mewn unrhyw dymmor blaenorol; cyfarfuant â thua deng mil mewn un dydd. Cyfarfuant â chymmaint arall o farsiandiaeth yn myned i Utah ag a aeth mewn un flwyddyn flaenorol. Yr oedd y blaenaf o'r ymfudwyr i Utah ar y *Sweet Water*, ereill yn mhellach o lawer; yr oedd pump o wersylloedd mawrion, yn mhlith y rhai yr oedd Cymru o fewn tua chan milltir i Fort Laramie, neu hanner y ffordd; cynnnaliasant gyfarfodydd gyda'r mwyrif o honynt, a chawsant hwy yn llwyddiannus ac yn y mwynhâd o iechyd cyffredinol. Cystuddiwyd yr ymfudwyr yn drwm gan afiechyd ar hyd yr afonydd, ond gwaredwyd hwynt o hono fel y cyrhaeddasant y Plains; bwriedir eu cychwyn yn gynnarach o hyn allan. Dygwyddodd anffawd i un gwersyll, dychrynodd eu hanifeiliaid a rhuthrasant ymaith; dilynwyd hwy ar geffylau am bedwar diwrnod, ond diangodd 120 yn mhlith y gyroedd aneiryf o'r Buffaloes a grwydrant yn yr anialwch maith hwnw; bwriadent brynu ereill yn Fort Laramie. Am ran fawr o'r

daith yr oedd y sychder anarferol a fu wedi lladd y borfa, a'r tânau mawrion wedi difa y coedydd o'u blaen mewn parthau helaeth o'r wlad. O wahanol barthau y Taleithiau y cwynfan oedd "yr ydym braidd a chael ein llosgi i fynu yn fyw."

Aeth y Brawd Spencer i faes ei lafur i Cincinnatti.

Mae y Brawd Andrews wedi bod yn llafurus iawn yma i ail enyn bywiogrwydd yn y Saint, ac y mae yr Arglwydd yn bendithio ei lafur trwy dywallt ei Ysbryd yn helaeth arnynt. Maent wedi cael capel mawr a chyfleus a feddiannid gynt gan y Bedyddwyr; yr hwn ag y clywsom ddarlithio ynddo yn erbyn Mormoniaeth; eithr yn awr cyhoeddir llwyddiant Mormoniaeth o'r un pwlpud ag y clywsom brophwydo ei darfodedigaeth buan! Hysbysa y Llywydd Snow ei fod yn awr yn barod i dderbyn ac i wneyd yr hyn a allo er lleshâd y Saint a ddeuant yno. Bwriada gyhoeddi Newyddiadur yn wythnosol o'r enw "Freeman's Advocate." Amcana hefyd sefydlu trefedigaeth o Saint gerllaw i Kansas, ar ymyl ffordd y Llyn Halen Mawr, ar y tir a brynwyd oddiar yr Indiaid. Cynnalia Gymmanfa Gyffredinol yn St. Louis yn niwedd y mis hwn.

---

## I "UDGORN SEION."

Yr "Udgorn" mwynlon a mâd
Fo'n swnio 'n fwyn ei swniad,
A'i seinber hyd bellder byd
Fo'n chwalu a dymchwelyd.—
Pob traddodiad a brad bron,
A nodda awenyddion,
Ac araethwyr doethwyr dig
A'u 'ffernawl eiriau ffyrnig,
Sy'n adrodd ar g'oedd yn gas,
Er darnio y wir Deyrnas;
Syndod "mae'n darfod bob dydd!"
Ond cryfach yw ein crefydd.
Mewn ingloes am ein hangladd,
Y mae llu am ein lladd.
Er hyny *canu* modd cu,
A seinio nes eu synu,

Mae'r "*Udgorn*" rhwyddlon a rhydd,—
A'i sainbleth sy'n ysblenydd;
Ei glaiwych sain a glywir
'N gywrain yn y dwyrain dir;
Gorllewin geir yn llawen,
Wrth ei sain heb warth îs nen:
Ac hefyd seinia'n hyfach
Drwy y byd draw i bob âch.
Yr "*Udgorn*" fo i'r adgas
'Fodd grymus i feddu grâs,
Drwy oleuo draw i'w lys,
A'i dawel uniawn dywys,
At wirionedd rhyfedd rhâd,
O ddudwyll wael draddodiad.
Udgana, llwydda'n llon,
I ddenu amryw ddynion,
A seinia glir sain i'n gwlad,—
"Amen" yw fy nymuniad.

*Abergwaun.* GILBERT WILLIAMS.

---

## IACHAD O'R CHOLERA TRWY YR EFENGYL.

BARCHUS OLYGYDD,—Dyma i chwi brawf arall at y profion aneirif a gawsoch eisoes fod yr efengyl yn "allu Duw" yn awr yn mhlith y Saint, megys y tystiai Paul ei bod hi yn "allu Duw" i'w hufyddion yn ei amser yntau, a diau yr ymbleserai y Saint i glywed y testun canlynol i glodfori Duw am ei allu amlygadwy, a'r hwn a brawf hefyd gywirdeb eich cyfarwyddyd i wella y geri farwol yn y rhifyn blaenorol o'r "*Udgorn*" Mae fel y canlyn:

Hydref 12fed, tarawyd Wm. Rosser, Dowlais, gan y Cholera gyda y fath ffyrnigrwydd nes ei amddifadu o'i deimlad, ei olwg, glyw, a'i lefariad, ac mewn gair, amddifadodd ef o'i synwyrau, fel yr ofnai y rhai oeddynt yn bresennol ei fod ef ar farw. Wedi cael caniatâd, gweinyddasom yr ordinhâd o arddodiad dwylaw arno, gan weddio ar Dduw yn enw Iesu Grist ei iachâu, ac er ein mawr lawenydd dechreuodd glodfori Duw, am ei fendithio â rhydd-hâd o'i boenau, ac adferiad ei gyneddfau yn y fan, er fod ei gorff yn wanaidd o herwydd arteith-

iau yr erchyll glefyd. Er fod y Cholera yn poeni ac yn lladd ambell un o'r Saint yn mhlith lliaws o'n cymmydogion ereill, y mae testunau aml i ddiolch i Dduw am atebiad i'n gweddiau ar ran y ffyddloniaid, a phrofion fod efengyl sydd yn *allu Duw* yn werthfawrocach, yn yr amserau enbyd hyn, nag yw y byd a'i holl drysorau, pe hebddi.

Cyd-dystia y gwragedd canlynol, er nad ydynt yn Saint, wirionedd yr uchod, sef Ann Thomas, Ann Phillips, a Mary Hughes.

Eich brodyr yn Nghrist,

JOHN WALTERS.
JAMES PHILLIPS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

TALODD y Senedd 20,940 o ddollars i Utah at draul y rhyfel yn erbyn yr Indiaid yn 1851 a 1852.—25,000 o ddollars at wneuthur heol filwraidd yn Utah.—500 o ddollars at gynnyddu llyfr-gell Utah.—2,428 o ddollars a 10 o cents at dalu traul y llywodraeth.—10,000 o ddollars at amddiffyn rhag yr Indiaid yn 1853.—20,000 o ddollars at wasanaeth Indiaidd yn 1855.—45,000 o ddollars am nwyfau a roddwyd i'r brodorion.—30,700 o ddollars at draul y llywodraeth am 1854.—Cyfanswm 154,569 o ddollars a 75 cents.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O HYD. 20 HYD 27.—George W. Davies, £4 10s.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 36.] TACHWEDD 18, 1854. [CYF. VII.

## "GRAS CADWEDIGOL."—PA BETH YDYW?

*(Dyfyniad o Draethawd yn y Wasg.)*

BOB amser braidd ag y ceisir gan grefyddwyr yr oes "dduwiolfrydig" hon ufyddhau i'r ordinhadau a orchymynodd Iesu Grist, yr ateb a geir yw, "Nid yw o nemawr bwys o barthed i ordinhadau ond cael grâs cadwedigol, pethau allanol a dibwys yw ordinhadau a defosiynau, gellir eu gwneyd neu beidio, eithr cael calon newydd,—delw Duw ar yr Ysbryd—adenedigaeth neu waith grâs ar y galon yw'r oll a ofyna Duw yn awr." Dyna ymguddfa miloedd o grefyddwyr, a'r hunan-gyfiawnder a wna orchymynion dwyfol yn ddifudd. Tra y caniateir fod y pethau yna yn dda yn eu lle, goreu po fwyaf; etto ymresymwn —os yw poblogrwydd yr haeriad hwn yn ddigonol brawf o'i eirwiredd ni fydd waeth er ei chwilio; eithr, gan fod cadwedigaeth yn ymddibynu ar gael *gras yn y galon*, buddiol i'r goreu ymchwilio a yw yn bosibl fod grâs yn nghalon y sawl a grêd y gosodiad hwn!

Sylwn yn y lle cyntaf, fod "grâs," yn ol iaith yr ysgrythyrau yn gyfystyr â "rhodd," "dawn," neu gyflwyniad o unrhyw fendith o eiddo Duw i ddynion; ac felly rhaid ei fod, fel pob rhodd arall yn sylweddol, os nad *sylweddol* y rhodd, *diddim* yw, gan nad ellir dirnad ond sylwedd a diddimdra, ac felly ni all fod yn "rhodd." Dywedir mai "dawn Duw yw bywyd tragywyddol," felly rhaid fod bywyd tragywyddol yn sylweddol. Pan y dywedir fod yr Arglwydd yn rhoddi "grâs i'r gostyngedig,"

arwydda gyfraniad o ryw fendith mor sylweddol ag yw ei *holl drugareddau.*

Pan y mae Duw yn rhoddi "grâs yn y galon," rhaid ei fod yn rhoddi ei Ysbryd yn *sylweddol* i ddylanwadu ar y galon; a chan yr addefir nad yw y galon ond cnawd, eithr yn arwyddo dylanwad Ysbryd sylweddol Duw ar ysbryd dim llai sylweddol dyn, dengys hyny y rhaid fod y derbynydd yn cydsynied â'r ammodau a osododd Duw yn rheol i ddyn gael dylanwad ei Ysbryd Glân. Gwadu na roddodd Efe reol sydd gyfystyr á hòni fod dyn yn alluog i wneyd rheol ei hunan; a hyny fyddai gwadu gorchymynion Duw yn gyfangwbl. Cyfaddef ei fod Ef wedi rhoddi yr addewid o râs ei Ysbryd drwy ufydd-dod i'w orchymynion sydd gyfystyr ag addef na ellir bod grâs yn nghalon y neb na ufyddhaodd i'r gorchymynion dwyfol hyny, nad beth a dybia nac a haera dyn ei hun. Arweinia hyn ni at safon ysgrythyrol a chywir i brofi gan bwy y mae "grâs yn y galon," sef gan yr hwn a ufyddhaodd i drefn Duw. A chan nad oes addewid i neb drwy yr holl ysgrythyrau i gael Ysbryd Duw ond drwy yr iawn weinyddiad o'r ordinhad o "arddodiad dwylaw," gan bwy arall heb hyn y dichon fod "grâs yn y galon?"

A chan nad oes sail ysgrythyrol i arddodi dwylaw ar neb cyn iddynt gael eu bedyddio "er maddeuant pechodau." a chan fod edifeirwch a ffydd yn gymmwysderau anhebgorol i fedydd, pa fodd nad yw y rhai sydd yn perswadio eu hunain eu bod wedi derbyn "grâs yn y galon," tra heb wneuthur hyny yn twyllo eu hunain ac yn amddifad o hono?

Mae y pwysigrwydd a ddyry Iesu Grist a'i apostolion ar, a'r manylrwydd a ddysgant i ufyddhau i holl orchymynion Duw yn profi, ynghyd a'u holl addewidion, mai drwy ufydd-dod hollol oedd yr unig ffordd a wyddent hwy am dani i gael "grâs yn y galon," ac yn profi unigolrwydd y ffordd i ninnau ei gael.

Nid yw yr ychydig eithriadau a wnaeth Duw i Cornelius ac ereill, yn awdurdodi neb i gyfnewid ac i esgeuluso ei *drefn ddwyfol* i hyny.

Eithr nid yw ordinhadau, megys bedydd ac arddodiad dwylaw, &c., yn anhebgorol er mwynhad o "râs yn y galon," ebe y sectwr selog, namyn pethau allanol ac anianol ydynt, canys oni

ddywed yr ysgrythyr "Trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd."

Atebwn mai at y ddeddf seremoniol y cyfeiriai Paul yn yr adnod yna, etto dywed Paul fod bedydd ac arddodiad dwylaw yn ordinhadau yr efengyl, yn ddwyfol orchymynedig, ac yn anhebgorol er cael "grâs" gan Dduw. Ufyddhasai iddynt ei hunan, a'i brif waith oedd annog ereill i ufyddhau iddynt. Y mae yn wir na achubir neb trwy weithredoedd allanol oddieithr eu bod yn tarddu oddiar wir ffydd, ac o ddybenion cywir; etto nid yw y camddefnydd a wneir gan ragrithwyr o ordinhadau yn esgusodi arall rhag ufyddhau iddynt, eithr yn mhob oes a than bob amgylchiad gofynai Duw ufydd-dod i bob gorchymyn "allanol" fel eu gelwir, ac nid oes enghraifft o'i gymmeradwyaeth Ef heb hyny. Gorchymynai i Israel "rwygo eu calonau ac nid eu gwisgoedd," o herwydd fod rhai wedi gwneuthur yr ymddangosiad hyny yn rhagrithiol, a'r rhagrith a waharddai Efe, nid y weithred.

Ffaith arall a brawf nad yw y sefyllfa o santeiddrwydd a duwioldeb y meddylia llawer am dani i'w mwynhau heb ufydddod trwyadl y *corff* i weithredoedd "allanol," ïe, i bob gorchymyn dwyfol, pa un bynag ai am bethau 'tymmorol,' 'allanol,' neu 'ddaearol' fel eu gelwir, ynte pethau ysbrydol yw, y fod pob gweithred o eiddo dyn yn weithred ysbrydol, o herwydd nad yw ei gorff ond pabell yn yr hon y preswylia bod deallus, sef ei *ysbryd* ef. Nid oes dealltwriaeth yn y corff o hono ei hun, fel y profir drwy fynediad ei ysbryd o hono. Felly rhaid fod pob llefariad y genau, ysgogiad yr aelodau, a gweithredoedd y corff yn ufydd-dod i gymhelliadau yr ysbryd mewnol, ac o ganlyniad priodol eu gelwir yn weithredoedd yr ysbryd neu yn ysbrydol.

Prawf cyfrifoldeb dyn pan ei barnir "yn ol ei weithredoedd yn y corff, pa un bynag ai da ai drwg" mai yr ysbryd a ddalia Duw yn gyfrifol am yr hyn a wnaethpwyd yn y corff; ac felly y bydd hefyd am yr hyn a esgeulusodd wneuthur. Mae hyn yn rhy eglur i fod eisieu ei egluro; ac felly nid llai eglur yw mai ysbrydol yw ufyddhau i'r ordinhadau a ddiystyrir rhy fynych am bethau cnawdol a difudd. Mae pob gweithred yn profi mai eiddo bod deallus yw, felly rhaid fod pob ufydd-dod o eiddo dyn yn profi pa beth yw meddwl ei ysbryd ef. Os nad yw y

corff ynddo ei hunan yn ddeallus, paham y sonir am weithredoedd "corfforol" neu! "gnawdol?" A fwytawyd, a yfwyd, a garwyd, a gasawyd, neu a wnaethpwyd un weithred dda neu ddrwg heb ei bod yn tarddu o gymhelliad yr ysbryd i'r cyfansoddiad? Os do, y corff yn unig a gospir neu a wobrwyir am hyny! Os naddo, nid cnawdol yn unig yw.

Felly gwelir fod bedyddio yn weithred o eiddo yr ysbryd gymmaint ag yw ffydd ac edifeirwch. Yr ysbryd sydd yn clywed y gorchymyn, yr ysbryd oedd yn cydsynied ac yn penderfynu a ufyddha ynte a anufydda; mae y corff yn ufydd i'r naill neu y llall fel yr ewyllysia yr ysbryd: os ewyllysia fyned at làn y dwfr, mae y traed yn hollol ewyllysgar i gludo y corff yno; os dewisa yr ysbryd i'r corff gael ei gladdu yn y dwfr, onid oes yno hollol gydgordiad yn mhob aelod? Yna gweithred ysbrydol yw bedyddio, ac nid yw y corff ond peiriant at wasanaeth yr ysbryd. Dichon yr egwyddor hon ymddangos yn hynod i'r darllenydd, etto nid mor hynod, debygwn, ag a fyddai clywed ei gyd-ddyn yn dweyd fod ei draed wedi cymmeryd y wib i fyned a'i gorff i lawr i'r dwfr, a bod ei gorff wedi mynu cael ei fedyddio yn groes i'w ewyllys ef, a bod yn ddrwg ganddo na allasai ei rwystro! Onid testun gwawd fyddai y fath haeriad, ac oni ddywedech yn y fan na allasai ei gorff ymsymud troed na llaw, na'i hunan o'r fan heb i'w ysbryd ewyllysio hyny, dyna brawf o ein gosodiad ynte, sef nad yw holl weithredoedd dyn pan eu holreinir i'w hachos priodol fwy na llai na gweithredoedd ei ysbryd ef, yr hwn sydd yn preswylio yn, ac yn llanw ei babell hyd flaenau ei fysedd, bob cymal, migwrn, ac asgwrn o hono, gan eu defnyddio megys offerynau yn ei law i wneuthur ei ewyllys ei hun.

Yr unig wahaniaeth sydd rhwng ysgogiad priodoliaethau yr ysbryd, megys caru, casâu, myfyrio, neu gynllunio, â'r cyflawniad o'r cyfryw drwy weithrediad y corff yw y graddau o rym sydd ynddynt. Pan y crêd yr ysbryd fod yn ddyledswydd arno gymmeryd ei fedyddio, hyny yw ffydd, yr hon a ddengys ei grym yn unig drwy orfodi y corff i wneyd hyny; megys y dywedir am ffydd heb weithredoedd mai marw yw, o herwydd nad yw yn alluog i ddylanwadu ar y corff i weithredu ei hewyllys, felly o'r ochr arall dywedir fod ffydd yn cael ei pherffeithio drwy weithredoedd. O'r naill ochr fel y llall gweiiz

mai yr ysbryd yw'r prif achos. "Heb ffydd anmhosibl yw rhyngu bodd Duw," a chan nad oes ffydd lle nad oes ufydd-dod i Dduw, amlwg yw na ddichon fod gan y sawl na fedd ddigon o ffydd i orfodi ei gorff i fyned i ddyfroedd bedydd ddigon o ffydd chwaith i deilyngu "grâs yn y galon," eithr mai twyllo ei hun y mae. Gan mai yn gyfesur i'w gweithredoedd y mae eu ffydd, y rhai a wnant y gweithredoedd mwyaf dros Dduw, yn unol a'i air, yw y rhai sydd yn rhyngu ei fodd fwyaf, ac o ganlyniad a dderbyniant fwyaf o "râs yn y galon," tra y mae anufydd-dod yr hwn a anufyddhao yn fforffetio ei hawl i'r "grâs" hwnw sydd yn addawedig yn unig i'r ffyddiog, a hyny yn gyfesur i'w ffydd, yr hon a brofir drwy ei weithredoedd.

---

## CREULONDEB ANYNOL AT WEISION DUW!

*Pontyfedwen, ger Brechfa, Hydref* 4, 1854.

ANWYL LYWYDD JONES,—Wedi gwella ychydig o effeithiau y driniaeth greulon a gefais yn ddiweddar, hysbysaf chwi o'r helynt a'm cyfarfu. Y Sul diweddaf aethym i a'r Henuriad Daniel Thomas, mewn atebiad i wahoddiad taer a gawsom, gerllaw i Langeler i bregethu; pan ddechreuasom y cyfarfod trwy weddi daeth tyrfa fawr o gapel Saron (Independiaid) gerllaw, yn cael eu blaenori gan dafarnwr o'r enw John Davies y Groesffordd, yr hwn a ddaeth i'n hymyl, a chan ymffrostio y gallai efe waeddi yn uwch na ni efe a ddechreuodd leisio a dolefain fel gwallgof-ddyn, hyd nes y gorfod i mi, ar ol treio fy ngoreu i lefaru, orfod dystewi; erbyn hyn ergydid talpiau o bridd a cherrig atom yn chwyrn ac yn aml; tarawwyd y brawd D. Thomas yn ei wyneb nes y ffrydiodd ei waed yn llif i'r ddaear. Ymdrechais drachefn eu cyfarch ac ymresymu â hwynt, eithr gwaeth-waeth y chwibanai y cerryg o amgylch ein penau, nes wrth eu clywed hefyd yn bwgwth ac yn gwaeddi "ymaith a hwynt," ciliasom oddiyno heb allu credu y buasent mor greulawn a'n dilyn, eithr ein dilyn a wnaeth tua 30 neu 40 o honynt yn agos i'n sodlau, a lluchio cerryg atom fel pe am ein lladd o ddyfrif, a tharawai y cerryg ni mor drwm nes yr oeddem yn cael gwaith mawr i gadw ein traed danom a ffoi, a hwythau yn

wban ac yn ein dilyn fel gwaedgwn ar ol eu hysglyfaeth. Wedi dilyn fel hyn am ysbaid, gwaeddodd rhai o'r dorf am ddal a lladd Daniel, mai Daniel oeddynt yn ymofyn, yr hyn a barodd i mi arafu, a cheisio eu perswadio i beidio a'm lladd, tra y diangodd Daniel trwy y corsydd a rhan o'r terfysglu ar ei ol, ond methasant a'i ddal. Tarawodd un o'r dorf fi y pryd hyn yn fy mhen â charreg fawr gyda y fath nerth nes torri archoll hyd yr asgwrn oddeutu dwy fodfedd o hyd; tra y gorweddwn ar yr heol yn fy ngwaed troediwyd fi yn dost; gwnaeth eu bwgythion i mi gredu eu bod am fy lladd, a gwaeddais allan, Mwrdwr! mwrdwr!! Ar hyn gwaeddodd un "dyna chwi wedi ei ladd ef o'r diwedd, mae asgwrn ei ben wedi ei dorri." Ar hyn daeth un o'r enw Mr. Dafydd Evans yno, a chan waeddi "ni chewch ei ladd cyn fy lladd i, gadewch ef yn llonydd;" ac oni fuasai y cyfaill dyngarol hwn, nid oes ynof ammheuaeth ar na fuasai y lleill yn fy lladd yn y fan; eithr diolch iddo ac i'r Duw a'i danfonodd yno ar y pryd, efe a'i gyrodd hwynt ymaith, a thrwy gynnorthwy ymlusgais rywfodd i dŷ Mr. H. Howells, Treolmawr, yr hwn a'm hymgeleddodd ac a ddangosodd bob caredigrwydd a allasai. Drannoeth, am fy mod yn rhy wan i gerdded, gosododd Mr. Howells fi ar ei geffyl ei hun, ac aeth a mi yn ol i'r fan lle ein curwyd fel yr adwaenwn y rhai a'm curasent, a chawsom eu henwau gan mwyaf. Ymffrostiai John Davis y Groesffordd yn ei greulondeb, a bwgythiai yn ddiarswyd y defnyddiai efe ddryll y tro nesaf y deuem yn lle cerryg, ac y lladdai ni yn sicr pe caffai ei grogi yn y fan am hyny.

Eithr er y cyfan, drwy drugaredd ein Duw, cyrhaeddasom adref ein dau yn fyw, ac y mae ein clwyfau yn iachâu drwy yr ymarferiad â moddion ein Tad nefol; ac nid yw hyn yn ein digaloni rhag pregethu ei efengyl Ef yn ol ei orchymyn; eithr parod ydym pan y bydd raid, i farw er ei mwyn, gan y gwyddom ei fod Ef yn gwybod yr oll.

Ydym, gyda'n cofion caredig atoch,

Eich brodyr yn Nghrist,

DAVID JEREMY.
DANIEL THOMAS.

---

## SYLWAD AR Y LLYTHYR BLAENOROL.

Croniclwn yr hanes blaenorol fel enghraifft o effeithiau y rhywogaeth o "Gristionogaeth" ag yr ymffrostir ei bod yn "GOLEUO Cymru," ac fel y cyd-dystiolaethd ein croniel bychan ni ar y ddaear â'r hyn a groniclwyd yn Llyfr y llyfrau yn y nef, ac y gwelo trigolion crynedig y farn pa dderbyniad a gafodd cenadwri Duw o'r nef atynt yn ngenau ei weision.

Oni chywilyddiai Paganiaid a Mahometaniaid pe clywent fod yr heolydd yn "ngwlad y Beiblau" wedi eu lliwio gan waed pregethwyr y Beibl! Ac onid arswyda y Croniclydd dwyfol braidd, pan y cerfia mewn llythyrenau o oleuni ar awyrgylch bwäog y nen, fod "Cristionogion" wedi rhuthro o Gapel "Cristionogol" ar ddydd yr Arglwydd, a chyda cynddeiriogrwydd gwaedgwn o wlad annwn wedi llarpio gweision Crist—sathru eu gwaed dieuog tan eu traed nes rhuddo y glaswellt ar bwys eu Capel—eu "magwrfa Gristionogaeth?" Ac oni arswyda gweinidog duwiolfrydig y lle rhag ofn y delir ef yn gyfrifol am y peth, o herwydd na ddysgodd well iddynt nac agor ei enau i amddiffyn bywydau Cenadon Duw! Am y byd, ni fynem ni fod yn lle un o honynt!

Deallwn fod y dyoddefyddion wedi ceisio amddiffyniad gan lŷs y wladwriaeth yn ofer hefyd, ac felly mae yn warthus meddwl fod y dyn creulon uchod yn cael ei gefnogi yn y fath ysgelerder gan y rhai a broffesant ac a ddylent fod y blaenaf i osod y fath ddyn peryglus lle nad all lofruddio y diniwed. Deallwn iddo ymffrostio yn y weithred uchod o flaen swyddwyr gwladol wedy'n yn wargaled, a bwgwth gwaeth etto pan y caffo gyfle! ac er hyn oll ei fod yn cael bod yn hollol rydd a digerydd ar ben yr heol fawr! Hawyr! bywyd pwy sydd ddiogel lle y caniateir hyn? Ystyrir bywyd y teithiwr dyeithr mewn cymmaint perygl os dygwydda efe ddychymygu mai un o'r Saint yw; canys syrthiodd ar foneddwr felly gan ei gyhuddo o fod yn Formoniad, ac ni allai dim llai na llwon a rhegfeydd hwnw ei argyhoeddi o'i gamsynied; ac y mae etto yn rhydd i fytheirio ei gelaneddau!

Y llynedd ymosododd y dyn hwn ar hên ŵr dros drugain oed pan ar yr heol, ac o'r tu ol tarawodd ef yn ei ben â charreg nes ei gwympo, ac yna ei faeddu nes ei adael yn ei waed am farw,

a rhedodd yn ol i'w dŷ lle y galwasid ar foneddwr o'r enw Mr. Martill i ddyfod i mewn ar fusnes, a chyda phastwn anferth, ar ol cloi ei ddrws arno, dechreuodd ar ei waith o'i fwrdro, ac oni buasai ereill ag oedd yn y tŷ ar y pryd ei achub o'i grafangau diau mai ei ladd a wnaethai. Aed ag ef o flaen Ynad am y tro cyntaf, eithr cymmaint oedd yr elyniaeth yn erbyn y grefydd nes mai yr hên ŵr druan er yn glwyfus ac yn goch gan ei waed ei hun a gafodd y gwaethaf! Gorfuwyd ef i dalu y costau, a gollyngwyd rhaff i'r llall fyned yn mlaen i dywallt gwaed ei gyd-ddyn!

Clywsom fod hyd y nod yr erlidiwr hwn yn cynnyg ymgyfiawnhau drwy feio y Saint am fedyddio ei wraig ef! Mor briodol a hyny yr ymesgusoda y llofrudd pen heol am ladd ei gyd-ddyn drwy ddweyd ei fod yn chwantu ei gôd; ac ni chrogasid un erioed pe buasai esgus yn ei ryddhau; etto crogwyd aml un a feddai well esgus nag a enwyd. Dywedwn fod rheolau Eglwys y Saint yn gwahardd bedyddio gwraig os gorchymyna y gwr i beidio; eithr nid felly yma; hysbysir ni na wyddid fod ganddo un gwrthwynebiad i hyny, ac yr anfonwyd yn bwrpasol am y pregethwr i ddyfod amryw filltiroedd o ffordd i'w bedyddio hi; a deallwn hefyd fod y Duw trugarog, adnabyddwr y calonau, wedi cyfranu iddi hithau dystiolaeth ei Ysbryd er pob peth; ac er na chafodd y fraint o un cwrdd eglwysig erioed, mawr-lawenha yn dyoddef er mwyn efengyl Crist. Er na chawsom y fraint erioed o weled y chwaer hon, gallwn gydymdeimlo â hi yn ei chaethiwed, ac â'n holl galon gallwn a gwnawn weddio ar i Dduw ei Thad nefol ei bendithio yn fawr —dryllio ei chadwynau gormesol yn fuan, a'i hanrhegu â rhyddid i'w addoli. Pwy na weddia am hyny?

Am dano ef dywedwn, gan i'r swyddwyr gwladol wrthod nodded i'r Saint rhagddo—gan na wna ei gymmydogion crefyddol attal ei rwysg—gan ei fod yn parhau i chwythu ei fygythion a'i gelanedddau,—yn peryglu bywydau ei well, ac yn rhwystro ereill i glywed yr efengyl--gan na ofna Dduw ac na pharcha ddyn—trosglwyddwn ef i ddwylaw yr Hwn a all roi bach yn ei ffroen er ucheled yw—yr hwn a all ffrwyno y gwylltfarch a'i farchogaeth; a gofynwn i'r Duw a wasanaethwn, yr hwn yr ymladda efe i'w erbyn, i amddiffyn bywydau ei blant rhagddo, ac i wneuthur ag ef fel y gwnaeth â Saul o Tarsus os

gwêl yn dda, neu gwnaed fel y mŷno ar frys, ïe, cyn y tywallto chwaneg o waed gwirion, yw ac a fydd ein taer weddi, a gofynwn i'r holl Saint gyd weddio â ni yn ffyddiog yn hyn—ein *unig amddiffynfa;* a gweddiwn hefyd ar i'n Tad yr hwn sydd yn y nefoedd fendithio y boneddwyr a geisient weinyddu cyfiawnder i'w blant, a thalu ar eu canfed yn ol eu cyfiawnder i'r rhai a'u gwrthwynebasant hwynt. Ei ewyllys a wneler, ei fraich a amlyger, a'i enw a ogonedder, a dyweded pob un o'i blant *Amen* gyda eich

GOLYGYDD.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, TACHWEDD, 18, 1854.

LLWYDDIANT YR EFENGYL.—Parhâ Llywyddion y Cynnadleddau i'n cysuro â newyddion da am lwyddiant achos y Gwaredwr yn eu plith; mae bedyddiadau yn fwy mynych; y Saint yn fwy diwyd a ffyddlon, ac yn mwynhau mwy o ddoniau yr Ysbryd Glân. Da genym ddeall hefyd fod y Llywyddion yn ymddeffroi i weled y pwysigrwydd o ddosparthu traethodau, megys y maent mewn rhai manau; a phenderfyna rhai hefyd i ddilyn yn mlaen, ac i ymdrechu cael pob aelod, brawd a chwaer, hen ac ieuainc, yn draethodwyr selog. Penderfynwyd yn Nghynghor Cynnadledd Sir Gaerfyrddin, a gynnaliwyd y Sul a'r Llun wythnos i'r diweddaf, fod pob un oedd yno i wneyd a allent i gael gan yr holl Saint i werthu traethodau bob wythnos; a phaham nad *pob un?* Gan y dysgwylia yr oll gael y wobr ar ddiwedd yr yrfa, dylai pob un wneyd a allo i werthu traethodau fel pob dyledswydd arall. Pleser oedd genym i weled y sel a ddanghosai y brodyr yno i'r gwaith da hwn, a dysgwyliwn fawr a buan gynnydd drwy y cyflawniad o'u haddunedau.

---

*Llanelli.*—Cynnaliwyd y Gymmanfa hon Hydref 29, yn

Nghapel y Saint, Llanelli, pryd y cynnrychiolwyd Cangenau 11, Hen. 37, Off. 17, Ath. 8, Dia. 14, Bedyddiwyd 11, cyfan 155. Cafwyd addysgiadau da gan Brif Lywyddiaeth yr Eglwys Gymreig, ac amryw Lywyddion Cynnadleddau; amlygodd Duw ei fawr allu a'i ddoethineb drwy ei weision, a diau fod mawr les wedi ei wneuthur i'r gwrandawwyr siriol hefyd. Cafwyd undeb dieithriad yn yr oll a wnaethpwyd drwy'r Gymmanfa, yn enwedig o barthed i addunedau i ddiwydrwydd yn y gwaith o ddosparthu traethodau, a dysgwylir cynheuaf toreithiog i addfedu cyn hir.

*Nos Lun*, gorlenwyd y Capel i wrando Darlith ar Anghrist gan y Llywydd Jones. Gwrandawodd yr oll yn siriol ac awyddus ar ddirgeledigaethau yn cael eu hamlygu o barthed i Anghrist nes synu yn ddirfawr, debygid. Cododd y dyrfa eu deheulaw ar ddiwedd y ddarlith i arwyddo cymmeradwyaeth a diolchgarwch i'r darlithydd. Argoelion da iawn am lwyddiant ac amryw fedyddiadau drwy'r Gynnadledd er y Gymmanfa.—Ben. Jones, Llywydd; J. J. Phillips, Ysgrifenydd.

---

*Caerfyrddin.*—Y Sul y 5med o Dachwedd, cynnaliwyd y Gymmanfa hon, ac er fod y tywydd yn wlybaidd crynhôdd y swyddogion a'r Saint yn brydlon, a chydunwyd yn yr oll a geisiwyd yn ddieithriad. Yn mhlith cyfnewidiadau ereill rhyddhawyd yr Henuriad Thomas Jones o Lywyddiaeth y Gynnadledd, a gosodwyd yr Henuriad T Jenkins i'w olynu a Dafydd Jeremy yn Gynghorydd iddo.

---

*Lywyddion Cynnadleddau* — A gawn ni gan yr holl Lywyddion i gymmeryd at y ddyledswydd o dalu eu dyledion am lyfrau erbyn diwedd y flwyddyn? Beth meddwch Frodyr! Oni ellir gwneuthur hyn? Os na ellir yr ydym ni yn hollol anwybodus o ba beth a ddichon fod yn rhwystr, o leiaf i dalu am yr oll a ddosparthwyd. A gynnygir yn esgus y fod cynnifer chwaneg o draethodau yn cael eu gwerthu yn ddiweddar? Esgus rhy wael yw hona, o herwydd mai i'r byd y bwriedir y traethodau, a phe gwnelai pob aelod ei ddyledswydd gwerthid hwy yn y fan y deuent, a thelid am danynt yn hollol anymddibynol ar y Saint; ac os cedwir hwynt ar law yn un man, mae bai yn bod yn y man hyny, a'r Llywydd yw y Meddygwr! Nid oes na

chrotyn na genethig wyth mlwydd oed yn analluog i werthu deg am un o'r cyfartalwch a werthir yn awr, a chael y tâl hefyd pe rhoddid hwynt ar waith. Mae cyfnewidiad yr UDGORN yn fwyaf i'r dyben o ennill yr amser a goilwyd yn hyn; ai parhau i gynnyddu yn hytrach a gaiff y ddyled hyd ddiwedd y flwyddyn, ynte, oni annoga pob Llywyddion bawb i dalu eu dimeuau a'u ceiniogau dyledus; ïe, y pethau bychain yna! yr hyn sydd rhy fach i sylwi arno, wedi eu pwnio yn un sydd yn gwneyd mynydd na allwn ni ddringo drosto! Pe talai yr oll yr ychydig doccyns sydd arnynt delai y mil punnau dyledus am lyfrau yn fuan i ddwylaw y rhai ag ydynt fwyaf anghenog am danynt! Ai digon yr *hint* yna ynte Frodyr? Amser byr a ddengys.

---

*Y "Trysorfa Ymfudol Barhaus."*—Galwn sylw Llywyddion yn neillduol at hyn; canys mae ffeithiau yn profi fod esgeulusdod wedi bod yn rhy gyffredinol o'r Gymdeithas lesiol hon. Tra y mae canmoliaeth yn deilwng i ffyddloniaid y rhai y mae eu gweithredoedd yn eu mhawr ganmol, etto mae yn ffaith nad yw y Saint Cymreig oll wedi cyfranu ond y cyfartalwch o dair ceiniog a ffyrling yr un yn y deg mis a aethant heibio! Nid boddlon ydym i gredu fod lleihad cyfraniadau y Saint yn dynodi lleihad eu hawydd am ymgasglu i Seion; etto, fel i bob effaith arall, mae i hon ei hachos cynhyrfiol. Pwy a wyr ac a symud yr achos hwnw, Frodyr?

---

NEWYDD DDYFOD ALLAN O'R WASG'—"*Tystiolaethau diwrthbrawf nad o'r 'Spaulding Romance' y gwnaed Llyfr Mormon,*" yn 24 tud., ar bapyr da; ei brisiau yw 14s 2c a 15s 10c y cant, i'w werthu am ddwy geiniog yr un. Ymegnied pob un o'r Saint i werthu y traethawd buddiol hwn i'r byd.

---

*Y Gyfrol ddyfodol o* "UDGORN SEION."—Mae ein cyfrol hon yn dirwyn tua ei diwedd yn brysur, a gawn ni gynnorthwy ein darllenwyr i ledaenu cylchrediad yr un nesaf? Addawwn y cynnwys fwyfwy o hynodion a rhagoriaethau nag a gynnwys y gyfrol hon; ydyw, mae yr amseroedd enbyd hyn yn esgor ar ryfeddodau a gwyrthiau a deilyngant eu croniclo, eu darllen a'u trosglwyddo i'n heppil! Ymddibynwn yn bryderus iawn ar sêl

ac ymroad ein darllenwyr a'n dosparthwyr eleni, am liosogiad teilwng o dderbynwyr i'r gyfrol ddyfodol! Hysbysed y Llywyddion yn brydion pa nifer yn ychwaneg a gymmerant o'r gyfrol nesaf. Daw allan yn ddwywythnosol,

---

## BARNEDIGAETHAU DUW AR Y TALEITHIAU UNOL!

Cronicla newyddiadur New York, o'r enw "*Daily News*," am Hyd. 11, rif-res o anffawdau dychrynllyd a ddygwyddasant i'r Taleithiau ar fôr a thir, er dechreu yr hâf diweddaf, a rhaid fod yr hwn na chydnabydda, fel y gwna yr ysgrifenydd, fod llaw ddialeddol Duw ynddynt yn teilyngu chwaneg o honynt am ei anghrediniaeth. Dyfynwn a ganlyn o lawer: –

"Gadawodd y flwyddyn 1853 ni mewn sefyllfa mwy llwyddiannus a gobeithiol yn wladwriaethol nag a welsom erioed. Meddai ein Trysorydd ddeg miliwn ar hugain o ddolars ar law na wyddai pa beth i wneuthur â hwynt; begiai y llywodraeth y ffafr o gael talu yn awr i'w dyledwyr dros bedwar swllt y bunt yn fwy na'r gofyniad, dyledus yn mhen 15 mlynedd. Cafwyd ffrwythlondeb anghydmarol o gynnyrch y ddaear; yr oedd ein gweithfaoedd a'n marsïandiaeth dramor yn llwyddiannus ddigyffelyb; ein Bankiau a'n cymmeriad oeddynt yn ennill ymddiried drwy'r byd, a gwnelid darpariadau prysur i ymhelaethu ein mhasnach o bob natur – mewn gair, yr oeddem yn gyfoethog ac yn cyfoethogi, gan dosturio wrth gyflwr truenus Ewrop yn nghanol eu tlodi a'u rhyfel cyffredinol.

"Dyma oedd sefyllfa y wlad chwech neu wyth mis yn ol. Pa beth yw ei chyflwr yn awr? Ymwelwyd â'r Taleithiau Unol gan farnedigaethau dilynol na welwyd eu cyffelyb o'r blaen. Colledion hynod a ddilynasant sodlau eu gilydd ar garlam; fe ddystrywiwyd yr Argraff-dŷ mwyaf, y llong fwyaf, a'r gwesty ardderchocaf yn y byd. Llosgfeydd ofnadwy a ddifrodasant, braidd, ein prif ddinasoedd. Ein llagerfadau, naill ai a losgwyd neu a anafwyd ar y môr. Taenwyd llong-ddrylliadau ar hyd ein glenydd. Ein holl longau goreu braidd a ddychwelasant mewn sefyllfa ddrylliedig; ac nid gormod yw dweyd fod y Taleithiau wedi teimlo colled o hanner can miliwn o ddollars oddiwrth y rhai hyn yn unig.

Yn nesaf sylwer ar y bywydau a gollwyd trwy glefydau, tân, a dwfr. Hwn oedd yr hâf mwyaf afiachus a welodd ein gwlad er ys canrif gyfan. Ysgubodd y Cholera dros yr holl wlad, gan ladd miloedd yn y manau iachusaf; tra y bu ei ddifrodaeth yn y prif drefydd yn ddychrynllyd; ac mor gyffredinol y bu ei ddylanwadau fel na ddiangodd nemawr ar y cyfandir rhagddo.

Yn nesaf daeth sychder ac a ddifäodd y wlad, oddieithr ambell lanerch, o fôr i fôr. Dyma'r hâf sychaf a welwyd erioed. Mae Taleithiau cyfain ochr yn ochr na welsant un gawod o wlaw o ddechreu Mehefin hyd ddiwedd Awst. Achosodd hyn i'r prif gynheuaf gwenith addfedu cyn ei amser. Mae y pytatws wedi eu torri ymaith, fel y maent yn gwerthu am ddollar a chwarter y bwshel yn New York yn awr. Bernir y syrthia y cynhauaf cotwm amryw gannoedd o filoedd o ystwciau yn llai nag y bernid yn y gwanwyn.

Eithr y mae cymmeriad cartrefol a chyhoeddus y wlad, os nad llwyddiant y genedl hefyd, wedi dyoddef dyrnod trymach nâ'r oll a enwyd. Cyfeiriaf at yr yspeiliadau a'r twyll ag sy wedi synu, gwaradwyddo a thristâu y genedl. Effeithiau uniongyrchol darganfyddiad dichell Schuler yn unig a siglodd farsiandiaeth hyd ei seiliau; a chrynai dynion gan arswyd. Mae ymddiried marsiandiol, yr hyn sydd anhebgorol i lwyddiant cyffredinol, wedi cael ei ladd drwy yr ymweliadau rhagluniaethol hyn. Galwaf hwynt felly o herwydd yr ymddangosant yn yr arswyd a achosant a'r gyflafan a wnaethant fel pe yn feichiog o nodweddau sobr farnau Duw."

Anhawdd i'r sawl a ddarllenodd brophwydoliaethau manwl yr Arglwydd drwy Joseph y Gweledydd, a gyhoeddwyd er ys blynyddau maith, a'r rhai a ddesgrifiant ddyfodiad y pethau hyn yn gywir, ynghyd a thynghed y Taleithiau, i beidio a dychryn pan ystyriont mai "dechreuad eu gofidiau yw hyn oll;" canys mor sicr ag y dechreuodd Duw y nefoedd ysgwyd ei wialen uwch eu penau ni pheidia nes eu fflangellu yn ol a deilyngant am dywallt gwaed Prophwydi santaidd a Saint; ac megys yr alltudiasant hwy Eglwys Dduw o'u plith; ac megys yr erlidiasant ei blant Ef trwy dânau, eu terfysgluoedd, eu drylliau a'u cleddyfau, ac yr heliasant hwynt fel yr helir helwriaeth yn yr anialwch; felly yr helant eu gilydd â drylliau, cleddyfau a thânau, nes talu i'w gilydd y pwyth yn ol, a mesur i'w gilydd

yn ol mesur y mesurasant i'r Saint; a llaw yr Arglwydd a'i gleddyf ysgwydedig Ef a gwymp ar y gweddill, ac a fydd drwm arnynt, oni chydnabyddant eu bai a gwneuthur cyfiawnder; canys genau yr Arlwydd a'i llefarodd.

Nid yn gartrefol yn unig yr ymddua y cymmeriad Americanaidd, eithr hyd gyffiniau y ddaear ymbardduant eu gwisgoedd; ac nid yw prif wyliedyddion golygyddol ein gwlad ni, fwy na Ffrainc, yn rhy wylaidd i ddangos y parddu i'r byd, ac i ddarogan fod yr ymddiried yn nghryfder a chyflymdra yr "Eryr" orllewinol yn darfod pan y troa hi yn gigfran, ac yr ymbortha ar gelain. Llygadir hi yn graff gan bob "Argus" drwy'r byd, ei chywion sydd yn Spaen yn ceisio prynu Cuba, fel y lleill sydd yn Brussels ac yn y Môr Werydd. Nid cudd yw lledaeniad ei thraed fel hir goesau "Colossus" draws ein byd bach; ac wyddys, pa ateb a ddyry i Ffrainc a Lloegr yw eu dyben yn ceisio prynu tiriogaeth o Rwsia, na pha beth fydd y canlyniad etto o ymuno Ynysoedd Sandwich a'i thiriogaethau; eithr mae llaw gryfach a llygad goruwch yr oll a nodwyd yn syllu ar ei hysgogiadau, ac amser byr a ddengys werthfawrogrwydd gwaed merthyron Iesu. Eu Duw a ofala fod i'r "Jonathan" Samsonaidd hwn loned ei freichiau o waith rhwng ei gaethfasnach a'i farnedigaethau cartrefol o fôr hyd fôr, a'i holl gyssylltiadau pellenig, pan y mae â'i Domahawk awchus, yn torri i fynu ein byd bach fel y torra y cigydd ei fochyn ac y tafla ef bob yn ddarn i'w ei ffetan fawr ddiwaelod ei hun, heb iddo orfod llosgi ei fysedd drwy ladrata afalau poethion o farwor Utah, ond odid.

---

## Y RHYFEL.

DECHREUODD y byddinoedd unol eu hymosodiad ar Sebastopol ar yr 17eg o Hydref; ac am amryw ddyddiau atebid cyfarthiad dros gant o fagnelau trymion gan y Rwsiaid gyda y fath gyflymdra a grym nes gorfodi y prif swyddwyr, Brytanaidd a Ffrengig i gyfaddef fod mwy o waith o'u blaen nag a feddyliasant o lawer; yr hyn a barodd iddynt gryfhau eu gwrthglawddfeydd a dwyn magnelau trymion o'r llongau. Yr oedd y Rwsiaid wedi saethu atynt tua phumtheg mil o beleni cyn cael un yn ol. Cafodd y Ffrancod golled fawr drwy ffyrnigrwydd y gelyn ar eu tyrau â

magnelau hirach nâ'r eiddynt hwy hyd nes, i gwblhau y ddifrodaeth, pelen boeth a daniodd eu pylordŷ ac a chwythodd fagnelau fel y dynion a phob peth yn gymmysg i'r awyr. Ar y pryd hyn yr holl longau Brytanaidd a Ffrengig a ymunasant yn eu rhuthr ofnadwy ar yr ochr forawl i'r dref, ac a ddechreuasant saethu pelenau a chragenau tanllyd nes y taenodd y ddu-nos ei mhantell i guddio yr ymladdwyr o wydd eu gilydd; lladdwyd amryw ugeiniau, a chlwyfwyd amryw gannoedd o'r morwyr ar fwrddau y llongau, tra yr oedd marwolaeth yn marchog yn ei fawr rwysg yn mhlith y milwyr drwy'r nos a'r dydd braidd; ac ni wyddus eu rhif hyd yn hyn.

Ar y 25, rhuthrodd tua deng mil ar hugain o'r gelynion o'r tu ol i'r byddinoedd yn hollol ddiddysgwyl, ffôdd wyth mil o'r Twrciaid o'u blaen, meddiannwyd eu magnelau, o dan nodded y rhai rhuthrai y gelyn yn mlaen yn eofn yn ei ymosodiad ar y brif fyddin, drwy gatrawdau cyfain braidd o'n gwyr ceffylau, hyd nes y daeth y brif fyddin i'w cynnorthwyo; yr oedd rhan arall o fyddin y Rwsiaid wedi rhuthro allan o'u cestyll hefyd, fel yr oedd ein byddinoedd yn y canol braidd, o leiaf mewn cyflwr peryglus rhwng y ddau dân, eithr dewrder a grym arfau y Cadfridog Evans a'i fyddin a yrasant y gelynion hyny i ffoi gan adael tua mil yn feirw ar eu hol. Pe llwyddasent yn eu hymgyrch anturus hwn, buasent wedi cau rhwng ein byddinoedd a'u llongau a'u nwyfau rhyfel hefyd, a chauasent hwy rhwng dau dân poeth. Ail-sefydla y gelyn ei amddiffynfeydd bob nos y dystrywir yn y dydd, a dywedir fod y dref mewn cyflwr ofnadwy o druenus—y dramwyfeydd ar hyd yr heolydd wedi eu rhwystro gan gelaneddau pudredig,—y dwfr rhedegog wedi ei dori ymaith oddiwrthynt er ys amryw ddyddiau, na dim i'w gael ond yr hyn y caniateir i'r gwragedd a'r plant ei ymofyn cyn codiad haul; ac y mae llawer o arian yn cael eu cynnyg am wydraid o ddwfr glân. Cwympodd pump o'u prif gadfridogion yn y ddinas yn ddiweddar.

Ar y 26, ymosododd y Rwsiaid drachefn yn ffyrnig â'u gwyr traed a'u bidawgau, ond i gael eu gyru yn ol gyda lladdfa erchyll y tro hwn etto. Taflir tua hanner cant-o filoedd o gregyn tanllyd i'w plith yn ddyddiol. Egyr tyrau newyddion eu tânau dynystriol ar y byddinoedd unol yn barhaus lle na ddysgwyliasid fod dim yn debyg yn bod yno, ac hyd yn hyn ni welir tebyg i ddiwedd y rhyfel.

## AMRYWIAETHAU, &c.

I IACHAU ISELDER YSBRYD. Ni niweidiwyd ysbryd neb drwy gyflawni ei ddyledswydd. I'r gwrthwyneb, prawf y cyflawniad o un weithred ddaionus, gorchfygiad temtasiynau, neu aberthiad o chwant neu hunan-les er mwyn cydwybod yn falm mwy iachusol rhag iselder ysbryd, nag a fyddai y mwynhâd o'r cyfryw, nag unrhyw ddifyrwch na chwmniaeth. A pharhâd o'r fath ymroadau ac aberthau oddiar ufydd-dod i Dduw yw y feddyginiaeth oreu oll rhag iselder ysbryd.

CYNNORTHWY I'R CLWYFEDIGION.—Casglwyd yn agos i ddeng mil o bunnau yn ddiweddar i'r milwyr a orweddant dan eu clwyfau yn Scutari; ac mae y llywodraeth wedi cael gan Foneddiges enwog o Loegr fyned i Scutari i arolygu dosparth o feddygon benywaidd i gynnorthwyo y lleill, a diau y gwnant fawr les.

AUR! AUR ETTO!!—Dywed Newyddiadur o St. Louis fod y "Mormoniaid" wedi darganfod mŵn aur ar hyd glanau y Dyfroedd melys, o dri i bedwar cant o filltiroedd yr ochr hyn i Ddinas y Ll. H. Mawr, ac fod amryw yn ei grynhoi yn gyflym! "Mormoniaid" a ddarganfyddasent aur California, a dywedodd Mewyddiadur Penrhyn Gobaith Da, ar yr achlysur o fod y cenadon "Mormonaidd" yno wedi darganfod aur, "Fod y ddaear yn troi yn aur o dan wadnau traed y Mormoniaid ffordd y cerddant." Nid rhyfedd hyn gan mai eiddo eu Tad yw aur y byd!

---

CYMMANFAOEDD Y GOGLEDD. Cynnelir Cymmanfa Sir Fflint ar y 12fed o Dachwedd, Sir Ddinbych ar y 19eg, Dyffryn Conwy ar y 26ain, a Sir Eeirionydd ar y 3ydd o Ragfyr.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O HYD. 27 HYD TACH. 11.—Charles Harmon, £5 10s; Griffith Roberts, £1 1s.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---


ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 37.] RHAGFYR 2, 1854. [CYF. VII.


## SANTEIDDHAD.

GAN Y LLYWYDD F. D. RICHARDS.

NI ddysgir ni gan yr ysgrythyrau mai dylanwad ar yr Ysbryd yn anymddibynol ar y corff ydyw santeiddhâd. Eithr i'r gwrthwyneb, dysgir ni yn mhob man gan yr ysgrthyrau, rheswm, a dadguddiadau diweddar, na pherffeithir yr ysbryd heb y corff. Ni ddichon y nai'l fod yn bur a santaidd oddigerth fod y llall felly hefyd Mae hwn yn bwnc pwysig ag y gwahaniaethwn yn fawr yn ein barn am dano oddiwrth amrywiol sectau Cristionogol ein hoes. Tra y credant hwy mai cyfnewid a santeiddio y galon yn unig sydd yn anghenrheidiol, gan ddibrisio ordinhadau puredigawl cyssylltiedig uniongyrchol â'r corff, credwn ninnau fod santeiddiad yr ysbryd a'r corff o gydbwys er mwynhau iachawdwriaeth. Credwn hefyd mewn cadw nid yn unig ein cyrff a'n hysbrydoedd yn bur a glân, eithr ein haneddau, ein dinasoedd, a'n tiroedd, a phob peth sydd o dan ein gofal. Cydnabydda y gonest galon, drwy gymhariaethau, y gwahaniaeth mawr a raid fod rhwng awyrgylch foesol dinasoedd y Saint yn Nyffrynoedd y mynyddoedd â dinasoedd y byd yn gyffredinol.

Mae trigolion y byd yn Gristionogion, Mahometaniaid a Phaganiaid gyda'u breninoedd. gwladwriaethwyr ac Offeiriaid wedi gwyro mor belled mewn natur, halogi mewn gwaed, ac ymgyndynnu yn eu tymherau, ac mor ddrwg liwiedig yw llygaid

eu meddyliau dan orchudd rhagrith a thwyll greddfol, fel y mae yn anhawdd iddynt ganfod un ardderchogrwydd yn egwyddorion gogoneddus yr iachawdwriaeth. Ymddengys y pur yn anmhur iddynt hwy, a'r llygredig a'r dilun yn lân a gweddaidd. Carant y tywyllwch oblegid mai cydrywiol yw â'u gweithredoedd, a phan yr ymddysclaeria y goleuni ni chanfyddant ef. Ofn sydd ar yr ychydig a ganfyddant gyflym ddirywiad eu rhywiogaeth drwy ben-rhyddid afreolus yr amserau, yr aml buteindra a fodola, yr aberth o filoedd o fenywod i Foloch nwydau annaturiol ac halogedig dynion, yr analluogrwydd meddwl, y gwendid a'r anmhrydferthwch corfforol, a orfodir ar y genedlaeth bresennol, yr hwn, oddiwrth olwg presennol pethau, a gynnydda yn anocheladwy yn y nesaf, i ddweyd eu daliadau, rhag i rywun, dysgedig yn nhybiadau gau y dyddiau hyn o weddeidd-dra, waeddi allan "Cywilydd," tra y dichon na oddefai ei ddrwgarferion ei hun amlygrwydd i'r goleuni. Yn y ffordd hyn y gadawwyd i ddynolryw fyned yn mlaen yn eu llwybr gowared, hyd nes y mae yn ddiarebol mai ychydig a droant oddiwrth ddrygioni, ac a lynant wrth y gwirionedd o gariad tuag atto

I'r Saint, y mae pob peth yn dymmorol, a phob peth yn ysbrydol, neu mewn geiriau ereill, mae y tymmorol a'r ysbrydol yn gyssylltiedig a chydblethiedig, mor agos fel nas gellir tynu llinell ymraniadol rhyngddynt. Ceir maddeuant pechodau trwy fedydd, a dawn yr ysbryd Glân trwy arddodiad dwylaw. Ni dderbyniwn byth ordinhadau uchelach yr Offeiriadaeth, profi ei ddylanwadau santeiddiol, a chael ein haddasu i fod yn Iachawdwyr ar Fynydd Seion, oddieithr i ni foddloni i ymdeithio i'r ymgasgl-fan, a chymhwyso ein meddiannau a'n llafur er adeiladu Teml, yn mha un y derbyniwn y bendithion hyn. Ac yn y diwedd ni chawn fyned byth i bresennoldeb y Tad, a gallu byw yn yr elfen hyny sydd fel tân ysol i bob peth anmhur ac ansantaidd, oddieithr i ni santeiddio yr Arglwydd yn ein calonau, ac ymwneyd ag egwyddorion y santeiddhâd hwnw, trwy ymgadw rhag, a gorchfygu pob mynwes ddrwg, gan buro ein cyrff oddiwrth bob aflendid, a rhoddi ein hunain yn weithredol, a'r oll ag y gosododd yr Arglwydd ni yn oruchwylwyr arno, er adeiladaeth ei deyrnas Ef. Nid digon yw crefydd athrawiaethol heb ei hymarferyd. Y gorchymyn a

aeth alian i ddynion —" Dewiswch heddyw pwy a wasanaethwch." I'r rhai a glywsant yr Efengyl, nid oes canol-dir, rhaid iddynt ddewis y goleuni ac aros ynddo, neu grwydro yn y tywyllwch hwnw a'u hamguddia mewn dystryw.

Y cyfryw ag sydd yn mhlith y Saint ag enw eu bod yn fyw, eithr ydynt feirw i ffydd a gweithredoedd da, y rhai unwaith a dderbyniasant dystiolaeth yr Ysbryd, eithr a gollasant ei allu, ydynt o hyd mewn perygl o gael eu hunain yn garcharorion wrth ewyllys y diafol, i'w dinystr eu hunain, oddieithr iddynt ymddeffroi i newydd-deb buchedd, a santeiddhâd corff ac ysbryd, a rhodio yn ddiwyd yn ordinhâdau yr efengyl.

Fel yr ymledaena y gwirionedd, ac y daw goleuni dadguddiad yn ddysclaeriach, dynoethir galluoedd y tywyllwch hefyd yn amlycach. Tra yr ymestyna yr Arglwydd iachawdwriaeth i'r rhai a'i derbynia, mae elfenau dystryw hefyd ar waith; a'r rhai hyny a allant weithredu ffydd, a hòni bendithion yr Offeiriadaeth, trwy ufydd-dod i'w gofyniadau, yn unig a allant erfyn am ddiogelwch rhag galluoedd y drwg.

*Cyf.* WM. LEWIS.

---

## DYFYNIAD O LYTHYR AT Y LLYWYDD BRIGHAM YOUNG.

" *Glan yr Afon Leidiog*, 200 *milltir o Parowan*,
*Sul, Mai* 28, 1854.

" YR wyf yn iach ac yn teimlo yn dda. Mae y cwmpeini yn iach ac wrth eu bodd, ac yn gytun.

" Bum am chwe milltir i fyny i'r cwm i bentref Indiaidd. Anrhegais yr hen Flaenor â chrys newydd, ac aeth y brawd White y cyfieithydd a minnau gydag ef heb arfau na gwyliadwriaeth. Canfyddasom tua 150 o Indiaid, yn wyr, gwragedd, a phlant, yn eu *wick-e-ups*, rhyw lun o gysgod o bolion a gwellt. Yr oedd ein gwersyll yn llawn ar yr un pryd, a gallasem eu gweled yn mhlith y dolydd a'r bryniau yn mhob pwynt. Ni a welsom oddeutu erw o wenith gan mwyaf yn un corff. Yr oedd llawer o hono yn addfed, a pheth o hono wedi ei dorri, a'i osod yn ystodau; yr oedd cyfuwch a'm ysgwyddau, a mesurodd peth o hono hyd fy nhrwyn. Gwelais hefyd erddi harddwych

o ffâ, pwmpiynau, llafur, &c., wedi eu gosod yn restri bach cryno, ac yr oedd cronfeydd bychain er dwfrhau rhwng pob rhestr, a chronfeydd mawrion yma ac acw er diwallu yr oll.

"Yr oedd y tir yn dda. Tyfa chwŷn ac ysgall yn y rhan ddiwrtaith cyfuwch a'm pen pan ar gefn ceffyl. Mae yma gannoedd os nad miloedd o erwau. Mae y dolydd yn llydain er torri a phori. *Wire grass, red top, canes, milk-weeds,* ysgall, helyg, &c., ydynt y prif wyrdd-lysiau. Mae y dwfr yn gyfleus neillduol er dyfrhau; nid yw byth yn brin nac yn ormodol o herwydd ei darddiad o ffynnonau. Y mae yn loyw a phur. ac yn dymherus i ymdrochi. Mae yno ddigon o bwer dwfr a chwarelau cerryg.

"Oddiamgylch ogylch i'r Eden hon y mae un eang ddiffaethwch. Dywed yr Indiaid am diroedd ereill mewn dyffrynoedd ereill a gynyrchant wenith. Tebygwn y cynnelid 2000 o eneidiau yma, pe gellid cael sefydliad, melin, a llythyr-gludiad."

"P. P. Pratt."

A gyfieithiwyd gan Wm. Lewis

---

## TEML YR ARGLWYDD.

Yn ngolwg yr oll ag yr adlewyrchodd pelydrau tanbeidiawl goleuni y nef ar amrantau eu golygon ysbrydol i ddangos iddynt yr unig ffordd i wynfyd a gogoniant—y darpariadau anhebgorol iddynt, ar eu rhan eu hunain, eu teuluoedd, a'u mheirw; i'r cyfryw a ddysgwyd gan y Pen saer celfydd ei hun, ni raid i ni argraffu ar eu dealltwriaeth pa ddefnyddioldeb yw Teml; ac fe ddylai dyledswydd y rhai a ddysgwyliant y fath fawrion ryfeddodau ynddi fod o flaen eu llygaid, a'r meddwl am y mwynhâd o honynt yn eu coffhâu mai gwaith perthynol i bob un yw ei hadeiladu. Etto, pleser genym goffhâu meddyliau puraidd y rhai difeddwl ar y mater hwn yn brydlon, fel y caffont gyfle i brofi erbyn terfyniad y chwarter a'r flwyddyn nad ydynt wedi anghofio Seion na'i harddwch a'i godidawgrwydd penaf.

Hyderwn nad anghofiodd neb o'r Saint, yn neillduol y Llywyddion, braint fwyaf y rhai yw arolygu llesiant Seion a chario ei hamcanion i ben, fod y Brif Lywyddiaeth wedi dymuno ar yr holl Saint Prydeinig, hyd y bo yn bosibl, i gyfranu deunaw ceiniog a dimai yr un yn y flwyddyn i gynnorthwyo i adeiladu

y Deml. Swm bychan, debygid, hawdd i bob un rifo drosto ei hun; etto, pe gofynem pa nifer a dalasant hyn, beth a atebid? Ai yr hanner? Naddo, nac un o bob pedwar chwaith hyd yn hyn! O'r oll a dderbyniwyd o ddechreu y flwyddyn hyd ddiwedd y trydydd chwarter nid yw gymmaint a phedair ceiniog gogyfer a phob un o'r Saint! A gawn ni sylw buan y rhai y perthyna at hyn? Tebygol fod llawer yn bwriadu talu y cyfan cyn diwedd y flwyddyn, eithr gwell talu bob tri mis: canys gellir defnyddio yr arian i brynu y nwyfau angenrheidiol yn y wlad hon a'u danfon yno, ac felly gallant fod mewn gwasanaeth lawer iawn yn gynt.

Gan na ofynir gan neb o honom ond yr hyn a ofyna Duw genym, ac na ofyna Efe ond yr hyn y gellir ei gyflawni, ni ddirnadwn ni pa fodd yr ymgysura Llywyddion Cynnadleddau eu bod wedi gwneyd yr oll a allent, tra y mae ffeithiau fel yr uchod yn syllu yn eu llygaid!

Ymbleserwn yn ein hymdrechiadau i adeiladu Teml Dduw, megys y dysgwyliwn ymbleseru—ymddigrifo, ac ymsanteiddio mewn nefolder llon drwy weinyddiad ei hordinhadau dwyfol hi.

---

## LLYTHYR J. RICHARDS.

*Mountain Ash, Hyd.* 29, 1854.

ANWYL LYWYDD JONES,—Yr oeddwn er ys ychydig fisoedd wedi penderfynu ymlwybro dros y dyfnder y gwanwyn dyfodol, ond wedi myned yno yn fy meddwl, holais fy hun, pa mor ddedwydd y galliaf fod, a myned yr amser hwnw. Y mae fy nhylwyth a'm cydnabod yn eu sefyllfa amddifad o wir grefydd yn dyfod i'm meddwl, ac felly yn peri anesmwythder; gan hyny yr wyf yn penderfynu myned i odreu Sir Aberteifi tua mis Chwefror nesaf, i bregethu yno am flwyddyn, a gofalwch ar fod genych ddigon o Draethodau, yn enwedig y rhai dimeiau a cheiniogau; nid oes na phalas, tŷ na thwlc lle y triga dynion ar na chânt gynnyg arnynt gyda thystiolaeth yn y flwyddyn nesaf, o fewn i'r cwmpasoedd aew o leiaf, os yr Arglwydd a'i myn. Mi af a'm teulu gyda mi, ac y mae genyf *ddigon o ffydd* na chânt fod mewn anghen bwyd na dillad, am flwyddyn beth

bynag. Yr wyf fi yn myned i wneyd cymmaint, os nad mwy o waith nag un dwy ganghen sydd yn y cwm hwn yn ol y ffydd bresennol, ac os ydych chwi yn dweyd "felly bo," mi a âf, ac a argyhoeddaf, a bedyddiaf yr onestion trwy allu Duw. Yna hyderaf am ddedwyddwch yr ochr draw.

Yr ydym yn myned yn y blaen yma trwy y cwm hwn yn awr yn well nag y buom er ys blynyddau, mwy o Ysbryd y bywyd yn ein plith, ac o ymdrech gyda phob rhan o'r gwaith.

Eich cyd-was,

J. RICHARDS.

---

[Darllener yr uchod ac efelycher ef gan yr oll a allo, yn neillduol na ymffrostied y swyddwyr dideulu, pan y teimla pen teulu mor liosog â'r uchod i fyned i'r winllan! Mawr lwyddiant a gaffo y Brawd Richards, a'r hwn a bïa y winllan a'i diwallo ef a'i deulu yw gweddi y—GOL.]

---

## TYNGHED SIR JOHN FRANKLIN.

HYSBYS i'n holl ddarllenwyr, ond odid, yw fod y boneddwr hwn wedi enwogi ei hun drwy fyned ar fordaith er ys blynyddau yn ol, i chwilio am agorfa rhwng mynyddau rhewog yr eithafion gogleddol; fod ei ddystawrwydd hynod wedi creu ofnau am ei ddiogelwch; bod y llywodraeth wedi anfon cenadon i chwilio am dano, a bod ei wraig ef wedi myned gyda hwynt, a'r oll yn aflwyddiannus. O'r diwedd ceir yr hanes a ganlyn gan foneddwr o'r enw John Rae, yr hwn a enwogodd ei hun drwy deithio hyd gyffiniau y moroedd gogleddol, a'r hwn a geisiai yn ofer gan y llywodraeth a'r wlad, er's blynyddau ei goelio fod ei wybodaeth o ansawdd y wlad yn ei orfodi i gredu fod Sir J. wedi cael ei sugno gyda'r iâ i'r *Great Fish River*, a thaer erfyniai gynnorthwy i chwilio yno am dano, ond nid oedd neb a'i coeliai. Eithr yn awr, ar ei ddychweliad o'r wlad hono, prawf drwy ffeithiau fod ei syniadau blaenorol yn gywir; hysbyswyd ef gan drigolion yr eithafion hyny iddynt weled tua deugain o forwyr yn teithio yn lluddiedig, nid nepell o Fish River, lle y dywedasent i'w llongau gael eu dryllio rhwng mynyddau o rew; eu bod yn llusgo bâd gyda hwy, a'u bod yn brin o fwyd. Yn ddi-

weddarach, gwelodd amryw nwyfau gan y brodorion a berthynai i'r orymdaith hono, ac yn mhlith llawer o bethau ereill a ddygodd gydag ef yn ol, yr oedd llwyau arian ag enw Sir John Franklin arnynt, ac ar ereill enwau amryw o'i gyd-deithwyr. Trwy gyfarwyddyd y brodorion aeth Mr. Rae i'r lle y cyfeirient ef ato, a gofidus yw dweyd, cafodd yno ffeithiau galarus i brofi fod eu tynghed wedi ei sefydlu—eu bod wedi marw o newyn; neu o leiaf, gwelodd ddeg ar hugain yn gorwedd gyda'u gilydd, pa rai, a ddeallid wrth sefyllfa ddrylliog rhai o'r cyrff, a chynnwysiad y crochanau oedd ar eu pwys, oeddynt wedi bod yn bwyta y meirw cyn trengu! Cafodd bump ereill ar ynys gyfagos, ymddangosai un o honynt fel pe buasai Swyddog; meddai ei yspienddrych yn grogedig ar ei ysgwydd, a'i ddryll dau-faril odditano. Mae y cyssondeb hanesyddol o'r darganfyddiadau perthynol yn profi mai ofer dysgwyl un o'r osgordd anffortunus yn ol i ddweyd hanes mordaith na thynghed Syr John Franklin a'i ganlynwyr.

---

## ARDDANGHOSIAD BABANOD.

Yn mhlith hynodion ffeiriau y byd gorllewinol, eu mhamau a gasglasant gant a saith ar hugain o'r holl liaws o fabanod a ddygwyd o'r pedair talaeth cyfochrog i dref Springville, Ohio, i gael barn y beirniaid, a gwobrwyon i'r babanod glanaf, harddaf, mwyaf iachusol, a mwyaf prydweddol; ac yn mhlith y fath liaws o rai ag yr oedd mor naturiol i bob un weled ei "chyw ei hun yn wyn boed arno y lliw a fyddo;" gall pob un a fedd faban o un math gydymdeimlo â'r beirniaid! Cafodd y mamau a ystyrient ddoletain eu babanod eu hunain y miwsig pereiddiaf i'w clustiau y wledd oreu o fiwsig; serch fod adnabyddiaeth o fagwriaeth wedi rhag-drefnu llawnder o offer cerdd i'r lle erbyn crynhoad y fyddin cantorion ieuainc; er hyny, gorchfygwyd hwynt oll—mynai yr American ieuanc glywed ei lais ei hun yn uchaf. Er gwaethaf pob ymdrech boddid llais y trwmboon a'r drwm ei hun fel lleisiau yr amrywiol offer ereill yn y ffonllef, tra yr oedd "gobaith eu gwlad" yn aros yr arholiad! Ni ddywedir pa wobr a gafodd yr uchaf ei lais, eithr ei bod yn nos braidd cyn penderfynu pa dri a gawsent y gwobrwyon; haerai y naill mai ei hail faban ar bym

theg hi, a'i harffed, a'i teilyngai, tra arall yn dangos aelodau hardd, arall bryd glanwaith, ac ereill lygaid, neu ranau ereill o'u hanwyliaid hwythau a ystyrient yn anghydmarol. Tra yr ewyllysiwn i'w rhieni fawr lawenydd gyda eu plant, ni chaniatawn, wrth gwrs, nad oes eu hanwylach yn mhellach i'r gorllewin.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, RHAGFYR, 2, 1854.

Y FFORDD OREU I DRAETHODU!—Dywed ambell un wrthym ei fod yn bwriadu gwerthu yr "hen stock" cyn ymofyn ychwaneg o draethodau. I'r rhai cynnygiwn air o gynghor, a ddysgasom drwy brofiad, er y dylasem fel pawb weled y rhesymoldeb o'r peth; yr hyn yw, fod ein llwyddiant i werthu yr ail draethawd i ddyn yn dibynu ar natur y traethawd cyntaf a gafodd; os nad oedd yn deall ac yn hoffi hwnw nid hawdd fydd ganddo brynu yr ail; a chan mai yr egwyddorion cyntaf ydynt hawddaf i'r byd eu deall a mwyaf addas iddynt, dysga doethineb i beidio cynnyg iddynt yr hyn ni allant ei amgyffred hyd nes eu dysgir, fel y dysgasom oll pa fodd i gael meddiant o'r Dysgawdwr anffaeledig oddifry—Ysbryd y gwirionedd, yr hwn yn unig a'n tywys i ddeall ac i iawn brisio y gwirioneddau a gynnwysir mewn traethodau ereill; dysgwyd i ni oll y wers odidog hon pan yn blant yn yr ysgol, a da fyddai cofio y gair a ddywed,—"y dyn anianol nid yw yn deall y pethau sydd o Ysbryd Duw, o herwydd yn ysbrydol y bernir hwynt;" ac y mae llwyddiant i werthu traethodau i raddau helaethach nac y meddylia llawer, yn dibynu ar gyfaddasu y cyfryw i chwaeth y prynwr; yr hwn, wedi cael yr un iawn i ddechreu a fyddai yn fwy awyddus am chwaneg, hyd nes y melys wleddai cyn hir ar yr hwn a wrthodasai yn gyntaf. Ffordd go chwith i werthu traethodau nac i lesoli dynion yw cymhell arnynt y nwyfau a feddir ar law er mwyn cael eu gwared; eithr y ffordd oreu, a

welsom i lwyddo yw rhoi llaeth i blentyn, yr hwn a'i galluoga i archwaethu bwyd cryf yn ei bryd; felly, dysgwn ninnau oll wersi pa fodd i werth traethodau i'r byd, a chofiwn mai yr hwn a hauo yn brin a feda hefyd yn brin.

Cymdeithasau traethodau ydynt o fawr les lle eu cynnelir, ac hyderwn y caffant gefnogaeth gryfach etto; adwaenom frawd a anrhegodd Gymdeithas ei Gangen â mil o wahanol draethodau i'w rhoddi yn nwylaw y Saint na allent brynu rhai; a mawr fel yr ymbleserant yn myned a hwy o dŷ i dŷ, gan eu newid bob Sul a gadael un newydd yn eu lle; a mawr yw y lles a'u dilyna! Efelycher hwynt yn fwy.

---

*Llywyddiaeth Utah.*—Ceir lle i feddwl wrth awydd Golygyddion Prydeinig ac Americanaidd i gyhoeddi dychymmygion, mai pleser mawr fyddai ganddynt gael y Llywydd B. Young o Lywyddiaeth Utah. Dywedant i'r byd fod y pedair blynedd ag yr oedd efe i Lywyddu wedi terfynu yn mis Medi diweddaf, ac fod ysgrifenydd y Diriogaeth yn Llywyddu yn ei le hyd oni etholir olynydd iddo. Ond dalier hyna yn ngwyneb drych breintlen sefydliad y Diriogaeth, yr hon sydd fel y canlyn:—"Dosran yr 2il. Cynnwysir gallu a hawl Tiriogaeth Utah mewn Llywydd, yr hwn a wasanaetha ei swydd am bedair blynedd, *ac hyd oni chaffo ei olynydd ei ethol a'i* GYMHWYSO *i'r swydd.*"

Cyhuddant y Llywydd Young hefyd o esgeuluso anfon adysgrifau o gyfreithiau Utah i'r Senedd Unol, ynghyd a gweithredoedd y Senedd Diriogaethol yn y ddwy flynedd fynedol. Eithr gwelir awydd y bobl hyn i'w euogfarnu yn amlycach na'u doethineb yngwyneb y dyfyniad canlynol etto, o gyfraith a wnaeth y Brif Senedd,—"Dosran 3ydd. Bydd hefyd ysgrifenydd i'r Diriogaeth ragenwol, yr hwn a breswylia ynddi, ac a wasanaetha yn ei swydd am bedair blynedd, oddieithr iddo gael ei symmud gan Lywydd y Taleithiau Unol; dyledus fydd arno ef i ysgrifenu holl weithredoedd y Senedd Diriogaethol gyfeiriedig, ynghyd â holl weithredoedd y Llywydd yn ei gylch Llywyddol yntau; *dibyna arno ef* [yr *ysgrifenydd*, gweler, ac nid y *Llywydd*!] i anfon un adysgrif o gyfreithiau a gweithredoedd y Senedd i Lywydd y Taleithiau, a dau adysgrif i siaradydd tŷ y cynrychiolwyr, ac i'r Llywydd at wasanaeth y Senedd-dŷ, ar

neu cyn y dydd cyntaf o Ragfyr yn flynyddol." Felly mae y Llywydd Young yn ddieuog etto, ac fe Lywydda cyhyd ag y dewisa Duw iddo Lywyddu, er gwaethaf Golygyddion y byd!

---

Y *Cynrychioliad Hanner blynyddol*.—Gofynwn am y Cynrychioliad, mor *gywir ag y bo modd*, gan bob Llywydd Cynnadledd yn y Dywysogaeth, o rif y Cangenau, Archoffeiriaid, Henuriaid, Offeiriaid, Athrawon, a Diaconiaid; hefyd rhif y rhai a ysgymmunwyd, a farwasant, a ymfudasant, ac a fedyddiwyd yn yr hanner blwyddyn yn diweddu Rhagfyr 31ain, ynghyd a chyfanrif o'r aelodau a'r swyddwyr, yn cynnwys y gwasgaredigion hefyd wedi eu tanysgrifio gan y Llywydd a'r Ysgrifenydd. Crefwn am gael y cynrychioliad *i'r Swyddfa hon erbyn Ion. 4ydd o* BELLAF, SYLWER.

---

*Galwn sylw neillduol*—Llywyddion, Dosparthwyr a Thrysorwyr, at yr hyfforddiadau a gyhoeddasom yn rhif. 22, tud. 350, o'r gyfrol hon o UDGORN SEION, a chydweithrediad â hwynt hyd y b'o yn eu gallu i wneuthur, ac fe all pob un wneuthur a wnelo erbyn yr 'amser nodedig' gystal ag erbyn deu-ddydd neu dri wedi hyny.

---

*Penfro Ogleddol.*—Cynnaliwyd y Gymanfa hon yn Abergwaen ar y 19eg a'r 20fed o'r mis hwn, a chynrychiolwyd fel y canlyn:—4 Cangen, 13 Henuriad, 4 Offeriad, 1 Athraw, 2 Ddiacon, 1 wedi ei fedyddio, 1 wedi marw, a'r cyntaf un er pan sefydlwyd y Gynnadledd, 5 wedi ymfudo, a'r cyfan yn 49.

Cafwyd undeb yn mhob peth, a llawer o gynghorion dyddorol gan y Llywydd Jeremy, ac ereill.

Rhaddhawyd y Llywydd David Rees fel y gall ymbarotoi i ymfudo, gyda chymmeradwyaeth ddieithriad ar ol rhoddi i fynu holl gyfrifon y Gynnadledd yn foddhaol, ac etholwyd yr Henuriad Thomas D. Evans i'r Llywyddiaeth yn ei le am yr amser presennol. Cafodd annogaethau y Llywydd Jeremy i draethodu a thystiolaethu effaith ar feddyliau y Saint, fel ag i benderfynu ymroi yn ffyddlonach nag erioed.

T. D. EVANS, Llywydd,
T. EVANS, Ysgrifenydd.

---

*Brycheiniog.*—Hysbysa y Llywydd D. Daniels ei fod ef a'r Llywydd Morgans wedi llafurio yn ddiwyd trwy wahanol barthau o'r wlad hon, a chael maesydd eang heb lafurwyr, a threfydd amryw yn gwaeddi am air y bywyd, heb neb i'w diwallu. Ymfywiogodd amryw Saint gwasgaredig y rhai a addunedent fwy ffyddlondeb o hyn allan i draethodu ac i iawn gyfranu gair y gwirionedd i'r miloedd eneidiau anfarwol a ymdreiglant mewn caddug moesol i'r byd anadnabyddus o'u hymyl.

---

*Sir Aberteifi.*—Cynnaliwyd y Gymmanfa hon yn y Cwrt Newydd, ar y 12fed o'r mis hwn, pryd y cafwyd rhifedi y Cangenau yn 5; Henuriaid 15, Offeiriaid 4, Athrawon 3, Diaconiaid 1, bedyddiwyd 4, yr oll yn 108, mewn penderfyniad i ymegnïo gyda gwaith yr Arglwydd.

Cafwyd gwrandawiad lliosog ac astud gan y cyfeillion o'r byd, a charedigrwydd haelionus iawn tuag at y Saint.

Dysgodd y Llywydd Jeremy yn eglur iawn y mawr les a all y Saint wneuthur i'w cymmydogion drwy ymegnïo i werthu a dosparthu traethodau iddynt er eu goleuo yn y ffordd a arwainia i Deyrnas Dduw—y cyfleusdra rhagorol a ddyry hyny iddynt i ddeall pwy sydd yn caru ac yn dymuno cael gwirionedd ac i dystiolaethu iddynt; ac addunedodd y Saint i ymroi i wneuthur felly.

Cafodd tystiolaethau y Llywyddion T. Jeremy, B. Evans, ac ereill effaith ddymunol ar y gwrandawyr, a chreodd adroddiad o hanes Seion gryn awydd am fyned yno. Addawodd yr holl Saint hefyd dalu yr oll sydd ddyledus am lyfrau erbyn diwedd y flwyddyn.

B. EVANS, Llywydd,
J. MORGANS, Ysgrifenydd.

---

## ANSAWDD Y GOGLEDD, AC HANESION O'R DYFFRYN

*St. Sior, Tach.* 24, 1854.

ANWYL LYWYDD JONES,—Defnyddiaf yr ychydig fynudau hyn i anfon gair atoch, gan eich hysbysu fod pob peth yn dda gyda ni

yn bresenol. Mae y Saint yn Sir Fflint yn myned rhagddynt yn well nag y buont er ys tro,—pob peth mewn trefn dda,—undeb da yn mhlith y swyddogion, a phawb yn lled gadarn yn y ffydd; ond yr oedd Cangen y Cefn Mawr wedi dyoddef ychydig trwy fod nai i Brigham Young, yr hwn (ebe fe) sydd yn teithio yn y Gynnadledd nesaf, wedi bod yno y Sul, ac fe'i gwrthodwyd ef ganddynt am nad oedd ganddo drwydded; yna troes yn fradwr, ac a ddywedodd lawer o gelwyddau yno wrth y Saint a'r byd, gan ddweyd mai ymladd cŵn a cheiliogod yr oeddynt yn y Dyffryn ar y Sul, ac fod yn rhaid i bawb fod yn gaeth weision i gadw y penaethiaid, bod yno filoedd eisiau dod yn ol pe caffent,—fod ei dad wedi torri calon ei fam trwy fod yn well ganddo am wragedd ereill na hi, a lluoedd o bethau cyffelyb.

Mae yno fwy o werthu llyfrau nag a fu e'rs cryn amser. Cawsom Gymmanfa dda yn Newmarket hefyd y Sul diweddaf, gwell nag a gawsom er ys talm; pob peth yn dda a gwrandawiad astud gan y byd.

Yr ydym yn gwerthu llyfrau yn lled dda, ond y mae lle i ni wella. Darllenais eich annogaethau yn yr UDGORN, i glywedigaeth yr holl Saint, o berthynas i dalu am lyfrau, ac y mae pob arwyddion mai gwella a wnawn.

Cadarnhausom un o'r Wesleyaid yn y Gymmanfa; ac yr oedd un arall o'r Wesleyaid yn Nghymmanfa Sir Fflint yn tystio ar ol dyfod allan "ei fod yn meddwl ei fod yn y nefoedd."

Derbyniais lythyr oddiwrth fy nhad, dyddiedig Medi 29, yn hysbysu ei fod yn iach ynghyd a phawb o'm perthynasau, a phob un o'r Cymry mor belled ag yr oedd yn hysbys o honynt. Hefyd y fod John Roberts, Newmarket, ynghyd ag ereill o'r Cymry, yn dyfod i mewn i'r Ddinas dranoeth, sef y 30ain o Fedi, ac fod John Williams o Dreffynon a'i deulu, ynghyd ag ereill o Gymru, i ddyfod y dydd Llun canlynol, ac fod llawer iawn o waggeni wedi myned yn mhell i'w cyfarfod. Dywedodd fod G. A. Smith wedi dyfod i'r Ddinas i ymofyn dynion i ddeheubarth y Diriogaeth i ddarostwng yr Indiaid ag oedd yn aflonyddu. Prydnawn yr un dydd daeth tua 500 o wyr meirch i'r Ddinas o'r Taleithiau, i fod at wasanaeth y Llywydd Young, wedi eu danfon i'r perwyl. Y mae pob peth yn myned yn mlaen yn rhagorol o dda. Bu farw yr hen frawd R. Humphreys (Garddwr y Garn, gynt,) bythefnos cyn cyrhaedd y ddinas.

Mae Cymro yma wedi bod yn yr America, yn perthyn i'r Annibynwyr, sef Dr. Thomas, yr hwn sydd yn areithio o dref i dref ar y rhesymoldeb a'r anghenrheidrwydd o ymfudo i'r America, &c. Y mae yn canmol preswylfa y Saint, ac yn dweyd os oes ar bobl eisieu myned i fyw i wlad dangnefeddus, ac iachus, am iddynt fyned i wlad y Saint, lle nad oes caniatâd i neb feddwi, na thyngu na rhegu; hefyd, lle nad oes na phutain na lladron! Mae hyny wedi cyfnewid teimladau llawer tuag at y Saint mewn rhai lleoedd yma.

Gwelwch yn dda fy nghofio at y brodyr Thos Jeremy a D. Daniels.

Eich gostyngedig frawd yn y C. T.,

J. PARRY.

---

[Mae yn dda genym glywed fod y Saint yn sylwi ar y cynghorion a roddant mor fynych, pa fodd i ymddwyn tuag at grwydriaid a wibiant i'w plith heb drwyddedi; canys diau mai amlhau ei offerynau a wna y diafol, er y rhaid ei bod yn wael arno am weision pan y defnyddio un fel yr hwn y cyfeirir atto. Ni raid i ni ddweyd mai anwiredd gwybodus i ni yw pob gair o'r hyn a ddywedodd; ond gwell i ni yw dweyd nad oes gan Brigham Young yr un nai o'r enw yna, rhag ofn y treia dwyllo ereill. Na rodder lle, meddwn etto, i neb heb drwydded, neu ei chyfartal drwy adnabyddiaeth bersonol.

Cyd'awenhawn â'r bugail Parry yn y gobaith y cyflawna y Saint yr addunedau a wnaethant, canys nid yr addunedau ond y cyflawniad a fendithia Duw â llwyddiant.

Ysbryd y gwirionedd a barhao i gyfarwyddo yr areithiwr, a mawr lwyddiant o'i lafur a gaffo. Er mai dyledswydd diddiolch pob dyn yw dweyd y gwir ar bawb, etto y mae dweyd gwirioneddau gwybodus am y Saint yn beth mor anghyffredin, fel y teimlwn chwant i ddangos ein cymmeradwyaeth o hono drwy ddiolch i'r ambell un a'i gwna, ac hyderwr y parha yntau mor annibynol, ar hyd y nod ei frodyr yr "Annibynwyr," a rhwyso i fynu ffrydlif y gwirionedd, yn hytrach nag gyda'r lli i gerwin ddigofus rhagfarn. Pe dywedai pawb ond y gwir, gwyddom na chlywid un yn dweyd yn amgen am y Mormoniaid nag a ddywed y Dr. Thomas cyfeiriedig. Etto, gan na archwaetha pawb y gwir, rhaid i gylla y lleill gael rhywbeth arall.—GOL.]

## CASGLIAD Y SAINT.

### GAN GWILYM DDU O SEION.

Y DYDD a ragwelwyd gan Santaidd brophwydi,
A phatrieirch wawriodd uwch goror ein byd;
Allweddau'r or'chwyliaeth ddiweddaf a roddwyd,
Er casglu plant Israel o bob parth ynghyd.

Hiliogaeth hen Abraham, Isaac a Jacob,
A fuont ar wasgar am oesoedd yn byw;
"Dy had a adwaeni yn mhlith y Cenedloedd,"—
Medd hen brophwydoliaeth gan brophwyd i Dduw.

Yn awr mae cenadon Duw'r nef yn pregethu,
'R efengyl dragwyddol i bobloedd y byd,
Oll wedi eu hanfon mewn dwyfol awdurdod,
I bob parth o'r ddaear ar led ac ar hyd.

A dyma'r "pysgodwyr" a'r "helwyr" ragwelwyd,
Gynt gan yr hen brophwyd drwy Ysbryd ei Dduw,—
Yn casglu y Saint yn y dyddiau diweddaf,
O blith y cenedloedd lle buont yn byw.

O Babilon fawr cyn ei chwymp deuant allan,
Yn lluoedd afrifed wrth alwad Duw'r nef;
Fel cwmwl,—fel nifwl, ac fel colomenod,
Yn glau i'w ffenestri ehedant tua thref.

Plant Ephraim i Seion, i wlad y gorllewin,
A'r deg llwyth o'r gogledd ddo'nt adref bob un;
Plant Juda a ddeuant i hen Balestina,
I godi eu Teml cyn dêl Mab y Dyn.

Hen Satan a rwymir, a'n Hiesu deyrnasa,
Dros fil o flynyddoedd yn nghanol ei Saint;
Gwna hwynt yn Offeiriaid i'w Dad a Breninoedd,
Yn nheyrnas y nefoedd,—O, freiniol wir fraint!

Hîl Abraham, Isaac, a Jacob byth mwyach,
Ni chânt eu gwasgaru medd geiriau Duw Iôr;
Ond gyda eu Brenin tragwyddol teyrnasant,
Dros bedwar ban daear ac o fôr hyd fôr.

# NEWYDDION O'R DYFFRYN.

Nyni a dderbyniasom y 'Deseret News' hyd Medi 28, yr hwn a'n hysbysa fod dau frawd wedi cyrhaedd yno ar y 26ain o'r Taleithiau, wedi gadael yr ymfudwyr yn gyffredinol mewn iechyd a hwylusdod, er eu bod gan mwyaf yn ddiweddarach nac arferol. Dysgwylid hwynt oll i ddiddosrwydd trwy gynnorthwy prydlon y gweddeuau o'r Dyffryn cyn y gauaf. Ceir cawodydd o gynnar a diweddar wlaw yn fynychach yn flynyddol, a chynnydda ffydd rhai y caffant ddigonedd heb ddwfrhau cyn hir. Adeiladwyd pont dros afon fawr a elwir "Sevier," yr hon sydd dros 120 troedfedd rhwng ei cholofnau, tair o ba rai ydynt yn y ffrwd

Mwynheid iechyd da drwy y sefydliadau yn gyffredinol; cnydau toreithiog; pris y gwenith oedd 2 ddolar y bwshel, ceirch 1½ dolar, ymenyn yn hanner dolar y pwys, y gwair yn 15 dolar y dunell. Tiriasai dwy gatrawd o'r Taleithiau ar eu ffordd i Galifornia, yn cynnwys 325 o wyr, 100 o waggeni, a thua 1000 o geffylau a mulod. Gauafant yn y Dyffryn, a bwriadant fyned yn mlaen yn y gwanwyn.

Dychwelasai y Llywydd Young a'i osgordd o ymweliad a'r llwyth Indiaidd a elwir y "Shosonees," neu y "Snakes," y rhai a anfonasent yn flaenorol saith o'u blaenoriaid i ddeisyf ymweliad ag ef gerllaw i ddinas Ogden. Wedi chwedleua yn gymdeithasgar am ennyd, anrhegwyd hwynt ag amryw roddion, pa rai a'u boddiodd yn fawr, a dywedasant eu bod yn teimlo yn bleserus ac yn dymuno byw yn heddychol; ac mewn gair felly y maent hwy wedi bod oddieithr ambell eithriad o ddïal ar yr ymfudwyr, drwy ladrata eu hanifeiliaid o herwydd i ymfudwyr cyn hyny ladrata eu hanifeiliaid hwynt; ac y mae yn ofidus na ellid rhwystro hyny bellach.

Mae chwyldroadau cartrefol yn Mexico ag sydd yn difrodi bywydau ei thrigolion yn gyflym a barbaraidd, ac heb nemawr argoel o'i derfyniad chwaith. Dygasid nwyfau marsiandïol mor amrywiol a helaeth i'r Diriogaeth, heblaw llaweroedd heb gyrhaedd, fel yr oedd eu prisiau wedi gostwng cryn lawer; a digon o ddewis gan y prynwr.

Yn San Bernardino, yr oedd cnydiau toreithiog iawn o ffrwyth y ddaear, eithr wedi goddef peth colledion oddiwrth wlawogydd

anarferol yn mis Awst, yr hyn oedd wedi chwyddo eu hafonydd yn uwch nag eu gwelwyd cynt. Yn San Francisco, prynasai y Llywydd P. P. Pratt long a garia 450 o dunelli i fordwyo rhwng y cyfandir ag ynysoedd Sandwich; yr oedd teimladau daionus tuag at y Saint yno. Prinder arian, er fod ychydig aur yn cael ei bela yno o hyd.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

*Amseroedd Cymmanfaoedd y Deheu.*—Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg, Sul y 24ain o Ragfyr, yn Merthyr-Tydfil; Brycheiniog ar y 31ain, yn Brynmawr; Mynwy ar y 7fed o Ionawr, Gorllewin Morganwg ar y 14eg, Llanelly ar yr 21ain, Caerfyrddin ar yr 28ain, Sir Aberteifi ar y 4ydd o Chwefror, Gogledd Penfro ar yr 11eg, a Phenfro Ddeheuol ar y 18fed.

Dysgwylir i'r Arolygwyr ddarllen eu mantoliad eu hunain o gyfrifon y prif Ddosparthwr yn fanwl, yn ol y cynllun, yn mhob Cymanfa, ac anfon adysgrifeniad i'w groniclo yn y Swyddfa hon o fewn yr wythnos ganlynol i hyny.

---

Derbyniadau am Lyfrau o Tach. 12 hyd Tach. 29.—G. W. Davies, £8; Griffith Roberts, £1 10s; Jonathan Ellis, £1 3s; E. Middleton, £1; James Morgan, £1 2s 3c.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 38.] RHAGFYR 16, 1854. [CYF. VII.

## ANNERCHIAD Y BRIF LYWYDDIAETH YN SEION AT Y CENADON O UTAH.

*(O'r "Deseret News.")*

ANWYL FRODYR,—Er y dichon i chwi gael eich temtio ar brydiau i dybied mai anghofiedig ydych gartref, tra yn ymdrechu ynghanol galluoedd drygioni a thywyllwch, ac yn mhlith dyeithriaid, heb bwrs nac ysgrepan, i gyhoeddi egwyddorion pur yr efengyl dragywyddol, ac i gasglu y gonestion eu calonau o bob cenedl dan y nef, etto cynnelir chwi yn gysson trwy ein ffydd, a chofir chwi yn ein gweddiau. Profiadol iawn ydym mewn treialon i'r natur ddynol ag ydynt i'w dyoddef gan bawb sydd yn mawrygu eu galwedigaeth yn yr Offeiriadaeth.

Mewn ufydd-dod i gynghor cefnasoch ar anwyldeb teuluaidd, cartrefol, ac ar gyfeillach hyfryd eich brodyr, ac aethoch allan yn llon i gyfarfod â sènau ysbrydion drwg, a gwawd a dirmyg y drygionus, a chalonau yn ymlosgi â iachawdwriaeth dros eich cyfeillion; ac mor galed yw y gwrthdarawiad, fel nad yn unig mai ymswyn a wnelai ysbryd annghynnorthwyol dyn rhag yr alwedigaeth, eithr ei gwrthod yn gyfangwbl, a bod yn hollol anaddas i'r gorchwyl.

I'ch cysuro a'ch cynnorthwyo yn eich gorchest, yr hyn yw y mwyaf boddhaol i Saint o bob gwaith, defnyddiwn rai o golofnau y *Deseret News* o bryd i bryd i'ch diwallu â newyddion cartrefol a fyddant o leshâd, i grybwyll y cyfryw bethau

ac i roddi y fath gynghorion ag a amlygir gan yr Ysbryd Glân.

Ar amserau profedigaethau a threialon celyd, chwanog yw y meddwl dynol i ammheuaeth ac annobaith, ac heb ostyngeiddrwydd, ffydd, ac ufydd-dod trwyadl, agored yw i wneyd llongddrylliad o'r argoelion tecaf, o ganlyniad, nid rhy aml eich hadgyfarwyddir pa fodd i dderbyn Ysbryd yr Arglwydd, os na fydd genych, pa fodd i'w gadw, ac i rodio ynddo yn barhaus, a'i ddefnyddio yn gynghorydd i chwi, nac yn rhy agos y glynir wrtho gan yr holl Saint, eithr yn fwy neillduol gan y rhai sydd yn traethu gwirionedd i genedloedd y ddaear.

Achosa eich sefyllfa bell a gwasgaredig yr anmhosiblrwydd i chwi dderbyn hysbysiad uniongyrchol oddiwrthym ar bob gofyniad a all gyfodi, hyd y nod pan y gellwch fod yn awyddus iawn i hyny. Doeth drefnwyd hyn er eich lleshâd yn ngweithredoedd rhagluniaethol trefn Duw i ni yn y sefyllfa hon o brawf, canys trwy y drefn hon gwneir pawb yn ddarostyngedig am oleuni, cyfarwyddyd, a gwir wybodaeth, iddo Ef yr hwn sydd yn llywodraethu ac yn Arglwyddiaethu ar bob peth mewn doethineb, ac yn goleuo "pob un ar y sydd yn dyfod i'r byd."

Wedi i ddyn gael gwir ffydd, edifeirwch, bedydd gan un awdurdodedig, a gosodiad dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glân, nid yn unig braint, eithr dyledswydd pob person yw byw yn y fath fodd yn unol â goleuni a dadguddiadau yr efengyl ag i fod yn abl i ofyn a derbyn dadguddiadau oddiwrth yr Hollalluog bob amser a than bob amgylchiad, pryd bynag y byddo angen, i'w alluogi i fawrygu ei alwedigaeth, lledaenu iachawdwriaeth, ac anrhydeddu ein Tad yn y nefoedd.

Y Mae gwirioneddau eglur ag ydych gynnefin â hwynt, y rhai a wyddoch, neu a ddylech wybod, oll drosoch eich hunain, canys gwaith personol yw iachawdwriaeth – pob un drosto ei hun yn gyntaf, ac yn ail pob un dros yr oll i gynnorthwyo ei frodyr, a'r teulu dynol yn gyffredinol, cyn belled ag y bydd yn ei allu.

Mae y genadiaeth i'r Ynysoedd Prydeinig o dan arolygiaeth yr Henuriad Franklin D. Richards, o Gorwm y Deuddeg, a chaniatâ amgylchiadau iddo ein holi, ar brydiau, ar y gofyniadau amlaf sydd o ddwys bwysigrwydd. Nid yw gymmaint

felly gyda'r cenadiaethau Scandinafaidd, Ffrengaeg, ynysoedd y cyfyngfor, Swedaidd, Ellymynaidd, Italaidd, Hindwaidd, Awstralaidd, a Phenrhyn Gobaith Da. O herwydd hyn, cyssylltiadau swyddfäol, a ffeithiau ereill, fe'i ystyrir yn addas i'r Cenadon ar y Cyfandir Dwyreiniol edrych yn fwy neilliduol at yr Henuriad Richards am gynghor ar y mesurau a'r amcanion hyny a ddichon iddynt betrysu yn fawr yn eu cylch; ar yr un pryd boddhaol fydd genym bob amser i ddeall beth yw eich sefyllfa a'ch argoelion, a pharod yn wastad i roddi y cyfryw atebion i ofyniadau, a chynnyg y fath addysgiadau, fel y bydd anghen yr achos yn galw.

Mae yr Henuriaid o Utah sydd yn awr yn Awstralia, Hindwstan, a Phenrhyn Gobaith Da, at eu cyflawn ryddid, ar dderbyniad y llythyr hwn, i aros yn eu gwahanol faesydd cenadol, i ymestyn eu llafur i faesydd newyddion, neu i ddychwelyd adref, fel y dadguddio yr Ysbryd Glân yn eu cynghorau, mewn perthynas i'w gweithrediadau cymdeithasol neu bersonol, a bydd pob peth yn iawn.

Cynnydda ein gweithfeydd cyhoeddus yn ddiysgog, eithr nid bob amser gyda'r ymdrech a'r cyflymdra ag y dymunem; er hyny cynnyddu yn barhaus mae y Saint yn Utah mewn ffydd a gweithredoedd da.

Rhag ofn nad yw y "Deseret News" oll wedi eich cyrhaedd, ychwanegwn fod y sylfaen a rhan *adobie* y mur oddiamgylch Adran y Deml wedi eu gorphen, a gosoda y gweithwyr y crib gerrig yn awr, y rhai a ddarparant y mur i'r *reiling* haiarn.

Mae y gweithwyr yn ddiwyd yn gosod meini anferth o amryw natur yn sylfaeni mawrion y Deml.

Mae y brodorion yn heddychlawn â ni ac â'u gilydd, a pharhâ yr Arglwydd i'n bendithio a bendithion dewisaf nefoedd a daear, hyd nes ydym yn ymlawenhau yn yr Ysbryd, mewn undeb, ac iechyd da yn gyffredinol, gyda chyflawnder o angenrheidiau a llawer o foethau bywyd.

Oddiwrth eich brodyr yn yr efengyl,

BRIGHAM YOUNG,
H. C. KIMBALL,
J. M. GRANT.

## LLYTHYR O DIRIOGAETH UTAH.

*D. Ll. H. Mawr, Chwef.* 26, 1854.

Fy hen gyfaill Evan Roberts,—Meddyliais rai troion i ysgrifenu atoch, ac yn awr cefais ar fy meddwl i weithredu felly. Yr wyf yn iach, yn gryf, ac heinyf, ac yn gyflawn o lawenydd trwy fy mod wedi ufyddhau i'r wir Efengyl dragywyddol, ac nid i un gau fel yr eiddoch chwi ac ereill, sef yr holl sectariaid. Fy hen gyfaill E. R., gwnewch oddef i mi i ddywedyd y gwirionedd; nid oes dim yn fy mryd, nac un tuedd i'ch dirmygu fel dynion, ond cariad ac ewyllys da tuag atoch a'm cymhellodd i ysgrifenu yr Epistol hwn atoch. Yr wyf yn teimlo drosoch oblegid eich hanghrediniaeth a'ch cyndynrwydd i gredu y wir efengyl, canys mi a wn fel mai byw yr Arglwydd na ddichon eich athrawiaeth achub cymmaint ag un enaid, canys nid yw eich bedydd chwi, sef y "Babtist bach," ac ereill, ddim gwell na bedydd babanod o ran ei ddyben; maent hwy yn bedyddio er ail eni, ac er maddeuant pechodau, ac er achubiaeth ac ail eni. Chwithau a ddywedwch fod yn rhaid i ddyn gael maddeuant cyn ei achub, a'i ail eni cyn ei fedyddio, beth! cyn ufyddhau i'r efengyl? Ië, medd y "Babtist bach!" a bod dyn yn cael ei gyfiawnhau yn unig trwy ffydd!! Ond pa'm yr wyf yn sôn am y rhai'n yn fwy nag am ferched ereill yr hen Fam, ni fu erioed ar y ddaear ddim mwy na dwy Eglwys, un i Dduw ac un i'r diafol, a'r hen Eglwys Rufainig ydyw mam yr holl sectariaid. Ond gwybyddwch mae'r Saint yw Eglwys y Duw byw, a'r unig noddfa tan yr holl nefoedd; ac er gwaethaf y byd a'i holl weision sectaraidd, Mormoniaeth a lwydda nes y bydd yr holl fyd o dan ei Llywyddiaeth, ac os amgen, diorseddir y Goruchaf ei hun; er lladd y Prophwyd Joseph, er erlid y Saint a'u lladd, fe saif fel colofnau tragywyddol, ac hawddach chwythu i ddiffodd yr haul rhag llewyrchu, nag yw diffodd neu roddi Mormoniaeth i lawr. Beth bynag yw eich meddwl, felly y bydd, fe saif pan y bydd yr elfenau gan wir wres yn toddi, a phan blygir y nefoedd fel llyfr. Jehofa ydyw Mormoniaeth y bobl yma, eu Hoffeiriadaeth, a'u gallu, a phob peth a lyn wrtho a ddaw i fyny yn y dydd apwyntiedig, ac a saif gerbron y Brenin tragywyddol, ac a dderbyn goron y bywyd.

Hefyd, dywedodd yr Iesu fod yr arwyddion i ganlyn y credinwyr,—"Yn fy enw i y bwriant allan gythreuliaid, ac ar y cleifion y rhoddant eu dwylaw a hwy a fyddant iach," &c. Ond dywed y diafol trwy ei weision nad yw yr arwyddion hyn i ganlyn y credinwyr, na raid wrthynt ychwaith. Dywed Duw fod Apostolion a Phrophwydi, &c.; ond dywed y diafol trwy ei weision nad oes eisieu nac apostolion na phrophwydi yn yr Eglwys yn yr amser presennol, &c. Mewn difrif, fy nghyfaill, pa faint gwell yw yr athrawiaeth yma nâ'r hen athrawiaeth gythreulig hono, sef "gan farw ni fyddwch feirw ddim?" Nid yw o ran ei sylwedd ond yr un.

Mae yr Eglwys wedi bod yn hir yn yr anialwch, ynghyd a'r Offeiriadaeth a'r agoriadau. Pa beth a ddaw o ddynion heb yr Offeiriadaeth, a waredir hwynt? Na, yn sicr, ni waredir mo honynt, canys trwy yr Offeiriadaeth y gwaredwyd dynion yn mhob oes a chenedlaeth, a chyfundraeth heb yr Offeiriadaeth sydd megys corsen ysig, a'r hwn a bwysa arni a syrth ac ni chyfyd. Oni wyddoch chwi, fy nghyfaill, fod yr Offeiriadaeth, y "plentyn gwrryw," wedi ei gymmeryd ymaith? ac ni anfonwyd ef i'r ddaear drachefn hyd nes y derbyniodd y Prophwyd Joseph Smith, trwy i Dduw anfon Angel i roddi iddo yr Offeiriadaeth Aaronaidd yn y lle cyntaf, ac wedi hyny anfonodd Pedr, Iago, ac Ioan, i roddi iddo Offeiriadaeth Melchisedec, ac nid oes gan un dyn hawl i weinyddu un o ordinhadau yr efengyl heb yr Offeiriadaeth, a gwae y dyn hwnw ag a gyffyrddo ag un o ordinhadau Duw os na fydd ganddo yr Offeiriadaeth. Pa beth yw yr Offeiriadaeth? Wel, llywodraeth a rheol Duw ar y ddaear i bregethu ac i weinyddu ordinhadau yr efengyl. Yn awr, meddwch chwithau, yr ydych yn condemnio pawb ond chwi eich hunain. Ydym, ac y mae gair Duw yn condemnio pob enaid nad ydynt yn ufyddhau i efengyl y Saint wedi iddynt ei chlywed; oblegid gan y Saint y mae y wir Efengyl a ddichon achub, ac nid gan un sect arall dan y nefoedd. Ac am hyny, os mynwch chwi ac eraill fod ar gael, rhaid i chwi ufyddhau i Efengyl y Saint a hyny ar frys, oblegid y mae prysurdeb mawr yn y nefoedd erbyn Priodas yr Oen; ac y mae yr Iesu megys ar ei daith, ac fe weddai i ninnau fod yn brysur iawn i ymbarotoi erbyn y delo, canys nid oes genym amser i'w golli. Wel, meddwch chwithau, pa beth a ddaw o'r rhai hyny

a fuont feirw heb glywed yr efengyl? Nid ydym ni na gair Duw yn condemnio cymmaint ag un o'r rhai na chlywsant yr efengyl. Ar yr egwyddor hon y mae y ddamnedigaeth erioed, sef "ddyfod goleuni i'r byd a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni."

Mae dynion da wedi bod yn mhlith pob sect, y rhai a rodiasant yn ol y goleuni oedd ganddynt,—ni ofyn Duw ddim ychwaneg oddiar eu llaw, ac yn yr ystyr yma y maent mor berffaith â'r angylion, ni allant hwythau wneuthur dim chwaneg. Ond am y meirw y mae Duw wedi darparu ar eu cyfer, y mae yr efengyl yn cael ei phregethu iddynt yn awr gan y Saint sydd wedi marw, a phan yr adeiladir y Deml gall y byw gael eu bedyddio drostynt, a gwybyddwch yn sicr na adgyfodir mo honynt heb i ereill gael eu bedyddio drostynt gan un o Saint y Dyddiau Diweddaf; a thyna a wnewch yw ufyddhau heb golli dim amser; os yn amgen, fel mai byw fy enaid eich colledigaeth nid yw yn hepian. Am hyny, dywedaf wrthwch, "Deffro di yr hwn wyt yn cysgu, a chyfod oddiwrth y meirw;" yr ydych chwi wedi bod yn y tywyllwch sectaraidd ddigon o hyd, ond yn awr y mae y gwir oleuni yn llewyrchu fel y gellwch weled, ac na fydd genych un esgus dros eich pechodau; gan hyny, yn enw yr Arglwydd Iesu, deffrowch, a gwrandewch arnaf yn hyn o beth, ac na fyddwch yn anghredadyn yn hwy. Gwybyddwch hyn, fel mai byw yr Arglwydd, Brigham Young ydyw unig Gynnrychiolwr Duw ar y ddaear, ac na fu gan Dduw erioed Deyrnas ar y ddaear heb Gynnrychiolwr.

Am hyny, peidiwch a breuddwydio un fynud yn hwy am y nefoedd, oblegid nid oes gan Dduw un modd arall i'ch hachub. A gaf fi grefu arnoch er mwyn eich eneidiau, i fod fel dynion, sef peidio a thaflu y llythyr hwn o'r neilldu heb ei chwilio a'i bwyso yn fanwl, canys nid dim arall a'm cymhellodd neu a'm tueddodd i'w ysgrifenu, ond Ysbryd Duw yr hwn sydd ynof; ac os bydd ammheuaeth yn aros eto, gofynwch i Dduw mewn gweddi; canys os ydych yn onest fe ddwg Duw dystiolaeth o wirionedd y llythyr yma i chwi, ac i bob dyn gonest, mewn pethynas i'r doniau a grybwyllais, sef bwrw allan gythreuliaid, gwahaniaeth ysbrydoedd, iachâu y claf, &c. Nid oedd yn llawer o beth genych i ddweyd nad oes eu heisieu yn awr, &c., beth a wnewch pan ddaw yr ysbrydion sydd yn yr America

atoch, pa rai sydd yn sicr o ddyfod, oblegid y maent yn canlyn i bob man lle y mae yr Efengyl wedi bod, ac y maent yn twyllo dynion yn lluoedd, sef y rhai a wrthodasant Efengyl y Saint,—y maent o anfòniad Duw fel barn ar y bobl am na dderbyniasant yr Efengyl neu y gwirionedd. Mae yn ddiammheu genyf fi mai hyny yw yr "amryfusedd cadarn" a soniai Paul am dano,

Mae yn yr America filoedd o ddynion neu blant chwech neu saith mlwydd oed, pa rai a alwant yn *Fediums* neu gyfryngau, trwy ba rai mae'r ysbrydion yn dadguddio llawer o bethau trwy weithredu ar ddwylaw y plant, neu rai mewn oedran, i ysgrifenu atebiad i bob cwestiwnau. Er enghraifft, pe bae un eisieu clywed oddiwrth ei dad neu ei fam, caiff ateb yn union trwy y cyfryngau yma fel pe bae ei dad a'i fam yn y fan a'r lle, ac maent yn gallu dynwared llaw ysgrifen y meirw yn berffaith, ac ar rai prydiau yn ymddangos megys lwmp o dân o flaen torf ac a bregetha am awr neu ychwaneg fel dyn! Fe roddir ateb am bob peth a ofynir iddynt, a hyny yn gysson iawn!! Beth a ddaw o'r sectariaid yngwyneb y rhai'n? Diau y twyllant bob rhai o honynt oddi eithr iddynt gael eu llenwi o Ysbryd Duw, a chaiff cannoedd o honynt eu llanw o ysbrydion aflan, a phwy a wna eu bwrw allan? Ni fydd a wnelo y Saint â'r cyfryw,—y maent yn eiddo y diafol yn gyfreithlon.

Wel, dyma yw fy nhystiolaeth mai gwaith Duw sydd genym mewn llaw,—mae hon yw goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd,—mae genym ni mae'r Efengyl a ddichon achub ac nid gan neb arall,—mai Joseph Smith yw y Prophwyd mwyaf a fu erioed ar y ddaear ond Mab Duw ei hun, ac yr â y nef a'r ddaear heibio cyn y palla y dystiolaeth yma.

Mae Ysbryd Duw yn dywedyd, digon bellach, os na chredwch i hyn, ni chredwch chwaith pe cyfodai un oddiwrth y meirw.

Yr wyf yn un sydd yn didwyll garu gweled pawb yn Nheyrnas Iesu.

Eich hen gyfaill,

JOHN PARRY.

# EFFEITHIAU TYBACO.

[Parhad o dud. 367.]

Fe adroddwyd gan Dr. Rach, yr adfydid Syr John Pringle gan grynfeydd yn ei ddwylaw, ac yr anmharwyd ei gof gan yr arferiad o gymmeryd trewlwch i'w ffroenau ; ond trwy adael yr arferiad ar gais Dr. Franklin, adferwyd galluoedd ei gof, a defnyddioldeb ei ddwylaw yr unrhyw amser.

Diffyg penderfyniad, cyfnewidiad meddwl, ac anfoddlonrwydd i ddilyn galwadau cyffredin bywyd, oll yn arwyddo anhrefniad gewynol, ydynt argoelion a ganfyddir yn mynych ganlyn arfer tybaco.

*Luegwch.*—Clefyd y Ddueg, tarthiad, neu bruddglwyf, sydd afiechyd tra neillduol. Ceir yn ein gwlad ni, fe ddichon, o fygwyr a chnowyr sefydlog tybaco, fwy nifer o rai pruddglwyfus nag yn un wlad arall trwy y byd. Achoswyd i lawer clefyd o'r natur hyn i raddau mawr gan tybaco. Profir hyn trwy beidiad y pruddglwyf pan beidir arfer tybaco. Afiechyd neillduol yw, a pherthyn yn fwyaf priodol i'r dosparth o afiechyd gewynol.

Addefaf fod achosion pruddglwyfau yn niferoedd. Unrhyw beth a dueddo yn gryf i atal ac anhwyluso yr iechyd cyffredin a all ddwyn yr afiechyd hwn oddiamgylch. Gormod meithrindod, gwirod, tê a choffi, cam-arfer physygwriaeth, diogi, arferion penrhydd, afradlonrwydd o bob rhyw fath, cadw oriau hwyrion afreolaidd, darllen newyddion lyfrynau galar, gormod llafur corff neu feddwl, a llawer o amrywiol achosion a allant gynnorthwyo mewn dwyn pruddglwyf. Yr oll gan hyny a ddywedaf am dybaco fel yr achos o'r clwyf yma yw hyn. Fe ddichon tybaco, gan ei fod yn un o'r suredd gwenwynig galluocaf a marwol a wyddir am dano, os ei arferir yn feunyddiol, ac i'r fath faint ag i ddrysu y cyfansoddiad gewynol, a thrwy hyny yr iechyd cyffredin, a all, a gwna yn fynych, ddyfod yn un achos o'r afiechyd mwyaf cythryblus ac anwelladwy hwnw. Ond nis gall tybaco, nac unrhyw nwydd arall, fod yn wahanredol i'r afiechyd hwn.

*Llewygfeydd*, neu y famwst, sydd o nwyd gewynol arbenigol, a gellir ei grybwyll hefyd yn un o effeithiau tybaco. Er fod llewygfeydd yn ei ystyr wreiddiol yn nwyd a berthyn i'r rhyw fenywaidd wrthi ei hunan, nid anfynych ei canfyddir yn ei

holl agweddau dadguddiol yn y rhyw arall. Fel y mae yn hysbys, mynych yr achosa y pang o chwerthin a llefain bob yn ail; ac ar yr un amser ymddengys y goddefydd gresynus fod a phelen drom ar ei arffed, yr hon a gyfyd at y cylla, bron, a gwar, yn dwyn ar yr un amser deimlad o lindagiad. Y mae weithiau anymwybodolrwydd a chryniadau. Achosir hyn ynte, ag yntau yn ddolur gewynol, yn benodol weithiau gan arferiad o'r tybaco. Dealler, modd bynag, fy mod yn caniatâu fod llawer o achosion y famwst lle nad oes gan y cyffyr ddim i wneyd yn y peth, am nad arferwyd erioed. Yr oll a hawlir yw, fod tybaco yn un o'r llawer achosion i ddwyn yr afiechyd neillduol hwn.

Mewn rhai parthau o'r byd lle yr arfer menywod lawer o dybaco, canfyddir y famwst neu lewygfeydd, yr hwn sydd yn aflechyd gewynol, yn dra chyffredin. Dylid sylwi, modd bynag, fel ffaith gyffredin, fod y personau hyny a arferant dybaco, yn arfer hefyd ei gydrywiogaethol enyniadau, tê a choffi, un neu y ddau, fel mae y nwyddau, a'r naill neu y llall o honynt yn ddigon i achosi yr afiechyd, yn dwyn bob un ei gyfran o'r effaith a achoswyd.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, RHAGFYR 16, 1854.

ANNERCHIAD Y BRIF LYWYDDIAETH AT Y CENADON,—A arddengys y dyddordeb mawr a deimlant yn eu cenadiaethau hwynt—eu mawr awydd am lwyddiant teyrnas yr Iesu drwy'r byd, ynghyd a phrawfiadau mai drwy ddylanwad grymus Ysbryd y gwirionedd y purir ac y santeiddir eu hufyddion i gadwedigaeth; mor gysurol yw i'r cenadon hyny a beryglant eu bywydau i gludo gair y bywyd i genedloedd tywyll y ddaear, i ddeall fod y Llywyddion hyny a lysnafeiddir a phob cyhuddiadau, ac a geisir wneyd yn ddrwg-weithredwyr aflanaf o

bawb, i wybod meddir, mai dynion santaidd Duw ydynt drwy gyfiwyniad bendithion y nef ar eu penau mewn atebiad i'w gweddiau hwynt. Dyry dychlamiad bywiocaol yr Ysbryd a ddilyna yr ohebiaeth hon, ynghyd ag ysgrifau ereill ein parchus Lywyddiaeth gyfnerthiad i eneidiau y rhai a'u hiawn ddeallant i ymwroli yn y dewr-waith o sefydlu cyfiawnder ar y ddaear.

---

YR YMFUDIAD.—Ar y 24ain o'r mis blaenorol hwyliodd y llong "Clara Wheeler" o Liverpool tua New Orleans â 421 o Saint, tua chant o honynt yn Gymru, ar ei bwrdd; bwriadai y rhai hyn ymsefydlu yn ngwahanol orsafon y Saint yn y Taleithiau, nes ennill modd i fyned i Seion.

Deallwn fod ymbarotoadau i ymfudo tua Seion yn y gwanwyn yn cael eu gwneuthur mewn amryw Gynnadleddau Cymreig, ac er na hysbysir ni yn awr pa bryd y bydd y cyfnod hwnw, er hyny nid amser i segura yw, a diau y dalia aml un cyn y byddo wedi golchi ei ddwylaw oddiwrth ei gyfrifoldeb i'w gyd-ddynion.

Ail goffhawn y Saint o'r annogaethau a roddasom iddynt er ys amser bellach i ymbarotoi trwy ddyfynu y cynghorion doeth canlynol o eiddo y Llywydd F. D. Richards drwy y *Star*, dymunem eu hargraffu ar feddyliau pob Saint, ac hyderwn eu gweled mewn gweithrediad buan ac effeithiol hyd nes y bo yr holl Gynnadleddau yn rhydd o bob dyledion, ac yn barod i gychwyn adref yn rheolaidd pe delai galwad ar un dydd o rybudd. Pe delai galwad dirybudd yn awr, hawdd canfod y gofid a fyddai yngwyneb yr anmharodrwydd presennol, ac nid ychydig na bychan fyddai y golled. Yn y Cynghor cyfeiriedig yn Llundain eglurhawyd drwy'r Ysbryd y pwysigrwydd o gydymffurfio â'r mesurau hyny, a chrefwn ar y Saint Cymreig wneuthur yr oll a allant i gwblhau eu holl ddyledion i'r Swyddfaâu o hyn i ddiwedd y flwyddyn os bydd modd. Wrth eu 'dyledion' awgrymwn yr hyn a werthwyd ac nid yr hyn a feddant ar law, oddieithr eu bod mor garedig a blaen-dalu am y rhai hyny, ond am y lleill a ddosparthwyd dylid trosglwyddo eu gwerth lle y perthynant yn brydlon. O barthed i'r mân draethodau a gyhoeddir, ni ddylai y rhai hyny chwyddo dyled unrhyw Gangen na pherson, oblegid dylid eu gwerthu i'r byd a dychwelyd yr arian am danynt. Ond rhoddwn y dyfyniad

rhag-grybwylledig o flaen ein darllenwyr, yr hwn sydd fel y canlyn:—

"Dechreuodd ymfudiad y Saint i'r Unol Daleithiau, ac hyderwn y parha heb fawr orphwysiad, hyd oni chesglir y Saint o'r gwledydd hyn i dir Seion,

"Rhybuddiwn y Saint yn eu mhawr awydd am ymfudo, na esgeulusont y dyledswyddau rhagrwymedig arnynt yma cyn ymadael. Y mae yn orchymynedig bendant ar Fugeiliaid a Llywyddion y Cynnadleddau, i gyflawni yr addysgiadau a gawsant yn y Cynghor Cyffredinol a gynnaliwyd yn Llundain, Mehefin diweddaf, mewn perthynas i gael gan y Cynnadleddau i dalu eu dyledion, a rhyddhau eu hunain o bob beichiau. Ni ddechreua yr ymfudiad i'r parthau gogleddol o'r Taleithiau am amryw wythnosau. Caniatâ y cyfamser hyn gyfleusdra rhagorol i'r Cynnadleddau nad ydynt wedi talu am eu llyfrau a'u *Stars*, eu hystafelloedd, &c., i wneyd hyny, fel pan ddechreuo ymfudiad etto y gall y rhai sydd yn barod ymadael â chydwybod dda ganddynt nad ydynt yn gadael baich ar ereill a ddylasent gario eu hunain

Hyderwn weled miloedd o Saint yn ymfudo yn ystod y flwyddyn ddyfodol, eithr ni ddysgwyliwn un lleihâd yn y gwaith yma o herwydd hyny, a rhybuddiwn yr Henuriaid Llywyddol na adawont i'r ymfudiad i fod yn achlysur i fyrhau unrhyw fesur gweithrediadol a gynlluniwyd, ond yn hytrach cofier fod yn rhaid i'r gwaith yma barhau i gynnyddu hyd nes cyflawni amcan ei anfoniad. Hyderwn y deffroa yr ymgasgliad y gweddill o'r Saint i weithrediad bywiocach o ffydd a gweithredoedd da, ac i fod yn dystiolaeth ychwanegol i'r byd, yr hyn a duedda i ail gynhyrfu y gwaith o'r newydd mewn amryw fanau. Gan hyny, dywedwn wrth y brodyr yn yr Offeiriadaeth, rhoddwch rydd weithrediad i gyfarwyddiadau yr Ysbryd Glân yn y materion hyn, ac ymehanged eich meddyliau yn gyfartal i gynnyddiant maintioli a gallu y deyrnas hon, a gweithiwch yn ol y gyfraith gynnyddol a'i llywodraetha."

---

Y Degwm.—Dichon ein bod wedi esgeuluso gormod i alw sylw at y testun pwysig hwn, drwy gymmeryd yn ganiatâol fod pawb yn deall eu dyledswyddau, ond dymunwn sylw ac ystyriaeth y Saint Cymreig at y ddysgeidiaeth ganlynol o eiddo

ein Llywydd F. D. Richards,—"Hyn yw cyfraith fanwl y Degwm, sef i roddi yn nghyntaf y ddegfed ran o'ch heiddo, ac o hyny allan y ddegfed o'ch cynnydd. Mae y gyfraith hon mewn cyflawn weithrediad yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd, ac yn mhellach daeth amryw Saint yn mlaen yn ganmoladwy mewn ufydd-dod i'r addysgiadau a roddwyd yn Nghymmanfa Gyffredinol Ebrill diweddaf, ac a gyssegrasant eu hunain, eu gwragedd, eu plant, eu heiddo, mewn gair eu holl, i adeiladaeth teyrnas Dduw. Teilynga y ffyddlondeb canmoladwy hyn yn achos Seion gael ei efelychu gan y Saint Prydeinig, a diau genym y teimla y mwyrif o honynt ysbryd gwresog i gydymffurfio ag ymddygiad eu brodyr a'u chwiorydd yn y gorllewin. Am hyny, defnyddiwn yr adeg bresennol i adgoffa yr holl Saint a ddysgwyliant wrthym am gynghor, mai dyledswydd pawb sydd a modd yw i ddegymu eu hunain. Wrth y Saint ymfudol a feddant fwy na digon o fodd i'w cludo i'w llefydd bwriadol, pa un ai i St. Louis, Philadelphia, Caerefrog Newydd, Cincinnatti, neu unrhyw le arall yn yr Unol Daleithiau, neu i'r mynyddau, dywedwn mai eu dyledswydd arbenig yw degymu eu hunain o'u meddiannau cyn y cychwynont o'r tiroedd hyn."

---

*Cymmanfa Sir Fflint,*—A gynnaliwyd yn Neuadd y Saint Brynbo, Tach. 12fed, pryd y cynnrychiolwyd 5 Cangen, yn cynnwys 19 Henuriad, 5 Offeiriad, 5 Athraw, 3 Diacon, 2 wedi eu bedyddio, a'r oll yn 112, mewn teimladau daionus ac hyderus mewn argoelion cynnyddol. Cafwyd gwrandawiad astud yn ystod y dydd i bregethau dyddorol gan y Bugail Parry, y Llywydd Davies, ac amryw Henuriaid ereill, y rhai a fwynhaent nerth Ysbryd yr efengyl yn helaeth.

Mwynhaodd pawb eu hunain yn rhyfeddol o dda drwy y Gymmanfa, undeb hollol yn mhob peth, ac awydd am lwyddiant yr efengyl.

L. Davies, Llywydd,
Jos. Ellis, Ysgrifenydd.

---

*Sir Ddinbych.*—Cynnaliwyd y Gymmanfa hon yn Newmarket, Tach. 19eg, pryd y cynnrychiolwyd 5 Cangen, 17 Henuriad, 6 Offeiriad, 5 Athraw, 2 Ddiacon, 5 wedi eu derbyn trwy lythyr a 6 wedi symud, 2 wedi eu bedyddio, a'r cyfan yn 119.

Dangoswyd trwy bleidlais unfrydol y swyddogion a'r Saint, gymmeradwyaeth i awdurdodau yr Eglwys yn Seion, yn Lloegr, ac yn Nghymru. Cafwyd addysgiadau buddiol a dyddorol gan y Bugail John Parry. Tystiolaethodd amryw o'r Henuriaid gwyddfodol i'r gwrandawwyr lliosog a difrifol; yn eofn a chynnwysfawr yr eglurhasant egwyddorion yr efengyl hon am y deyrnas.

J. Parry, Llywydd,
W. Jones, Ysgrifenydd.

---

*Dyffryn Conwy.*—Cynnaliwyd y Gymmanfa hon yn Llanrwst, ar y 26ain o Tach., pryd y cynrychiolwyd 6 Cangen, 20 Henuriad, 7 Offeiriad, 5 Athraw, 4 Diacon, 4 wedi eu bedyddio, a'r cyfan yn 98.

Apwyntiwyd William Lewis i lywyddu Cangen Caernarvon, a John Ellis i lywyddu Cangen Llanddoged. Penderfynwyd dal i fyny mewn ffydd, ymddiried, a gweddiau, holl awdurdodau yr Eglwys.

Penderfynwyd i wneuthur ymdrechiadau adnewyddol er rhyddhau dyledion y llyfrau.

Cafwyd cyfarfodydd melysaidd, a chynghorion, addysgiadau, a phregethau gan y Llywydd, a'r Bugail J. Parry, ac ereill, a meddyliem wrth yr arwyddion arddangosiadol fod pawb wrth eu bodd.

R. Roberts, Llywydd,
W. Davies, Ysgrifenydd.

---

## HANES Y SAINT YN RHYFEL SEBASTOPOL.

*(Allan o'r "Millenial Star.")*

*Malta Florianna*, 55, *Strada Mercato*,
*Hyd.* 15, 1854.

Anwyl Frawd Richards.—Wedi derbyn sypyn o lythyrau oddiwrth y ddwy Gangen o'r Eglwys hon ag ydynt yn y dwyrain, sef y "Gangen Nofiadol," a "Changen y Byddinoedd Tiriogaethol," a chan fod eu cynnwysiad yn lled ddyddorol, mi a ddanfonaf i chwi y prif nodiadau, oddiwrth ba rai y canfyddwch tra y mae rhyfel a'i dychryniadau dilynol yn rhuo, fod yr

efengyl o hyd yn llwyddo trwy offerynoliaeth y brodyr hyn. Am drugareddau Duw yn cadw y brodyr hyn, ac yn chwanegu at eu rhifedi, teimlwn i dalu iddo Ef ein moliant o'n calonau, ac i alw ar bawb Saint i wneyd yr un modd, ac i gyd-weddio am eu diogelwch a'u llwyddiant parhaus.

Trwy lythyr oddiwrth yr Henuriad H. Russel, dyddiedig Medi 22, pedair milltir ar ddeg o Sebastopol, deallaf yr ymladdwyd brwydr mewn lle a elwir yr Alma (2000 wedi eu lladd) yn mha un yr ymladdodd rhai o'n brodyr, eithr ni chafodd un o honynt hyd y nod ei glwyfo. Bedyddiodd yr Henuriad West o gatrawd y 93rd (Highlanders) un. Trwy lythyron ereill yr wyf yn deall am fedydd dau arall, a dysgwylid amryw i'r Eglwys mor gynted ag yr elent i'w gauafol arosfan.

Oddiwrth yr Offeiriad S. Ballard *(Rifle Brigade)*, deallaf iddo gael ei wahodd gan ryw Fethodistiaid i lywyddu dros eu cyfarfodydd. Derbyniodd y gwahoddiad hyn, eithr wedi argyhoeddi un o honynt o wirionedd y gwaith, dadgyssylltodd y lleill, ac ni chyfarfyddant hyd y nod gyda eu gilydd mwyach. Parhâ yr un hwnw i chwilio i'r gwaith gyda mwy-fwy o foddlonrwydd, a dysgwyliwn y bedyddir ef ac un arall ar fyr. Créa y brawd Ballard gryn gynhwrf yn y *Rifle brigade*. Cyfarfydda ef ac un brawd Paul, o'r *Royal Sappers*, bron bob nos i weddio Duw i'w harwain at y gonest galon. Os llwydda y gwaith yn y rhan hono o'r fyddin, gall ymestyn oddiyno i un arall, ac yn y blaen. Yn bresennol ni fedyddiwyd ond mewn un rhan.

Y mae gan yr Henuriad A. Downs, o'r Gangen Nofiadol, ddau ddyn yn barod i'w bedyddio y cyfleu cyntaf a gaffont. Danfonodd *order* i mi am lyfrau, &c. Yr oedd holl frodyr y Gangen hono, a Changen y milwyr mewn sefyllfa dda. Bu marwolaeth ofnadwy drwy y Cholera yn y fyddin a'r llynges. Yr oedd cant a hanner o farwolaethau wedi digwydd ar fwrdd y *Brittania*.

Gallaf ddweyd dros y Gangen yn Malta ein bod mewn undeb ac yn llawenhau yn y gwaith. Er fod y Cholera wedi rhuo ar bob llaw, a chymmeryd llawer ymaith, etto ni chaniatawyd iddo ond ymweliad byr â ni, gan y profodd yr ordinhad o eneinnio ynghyd â bendith Duw, yn effeithiol, mewn amrantiad, am yr hyn y teimlwn i foli Duw bob tro y meddyliwn am hyny.

Nis gallaf ysgrifenu am un gweithrediadau mawrion ar y

genadiaeth hon, canys treuliwyd rhan fawr o'm hamser mewn *dyoddef*, nid *gwneuthur*. Yr wyf wedi bod yn afiach yn ol ac yn mlaen er ys tua mis yn awr, er gwaethaf pob peth. Cyfrifaf ei ddechreuad i niwed a gefais yn nghylchoedd y galon, yr hwn a achoswyd wrth blygu i godi rhyw bwysau, canys oddiar hyny dyoddefais guro ofnadwy neu ddychlamiad y galon, dim ond sŵn yr hwn a'm rhwystra i gysgu yn y nos. Eithr nid yw cynddrwg yn awr, etto cymmeraf dwymyn bob dau neu dri diwrnod, yr hon a ddiwedda mewn chwys trwm yn y nos.

Gan nad oes genyf ychwaneg o newyddion i anfon, a braidd nerth i roddi yr ychydig linellau hyn at eu gilydd, terfynaf gyda'm cariad i chwi eich hun a'ch cynnorthwywyr, a thaer erfyniaf am ran yn eich gweddiau yn gysson, nid yn unig dros y Gangen hon, eithr dros y rhai sydd yn ymladd yn y rhyfel.

Yr eiddoch yn Nghyfammod yr Heddwch,

J. F. BELL.

[Mewn llythyr diweddarach hysbysa yr Henuriad Bell ni, ei fod trwy fendith Duw wedi llwyr iachâu.—GOL. y *Star*.]

---

## CARIAD BRAWDOL.

FY Llywydd, gyda'ch cenad,
Mi roddaf i chwi ganiad,
A dyna'r testun ar ei hyd,
A fydd i gyd yn gariad.

Egwyddor dda ragorol
Yn wir yw cariad brawdol,
Nid oes i'r ddaear hon,
Yr un mor llon a siriol.

Gorch'mynodd Iesu tirion,
I'w Seintiau o un galon,
"O cerwch chwi fel cerais i,"
Ac yna i mi'n ddyscyblion.

Er prawf ein bod yn caru,
Rhaid i ni gyd-weithredu,
Yn ol addysg gweision Duw,
I ddynol ryw ei barchu.

Y lle mae Cariad Brawdol,
Sydd hyfryd a dymunol,
Am hyny frodyr ceisiwn o,
Bydd yn y fro dragywyddol.

Nid ydyw Cariad Brawdol,
Yn ddrwg a hunan lesiol;
Ond cara arall fel ei hun,
Ac fe wna hyn wrth reol.

Anrhydedd pob cymdeithas,
Cadernid mawr pob teyrnas,
Yw Cariad Brawd—anwyl yw,
I ddynolryw mae'n addas.

Dymunaf yn bresennol,
O! mynwn Gariad Brawdol;
A'r sawl a gaffo'r cariad hwn,
Fe fydd mi wn yn canmol

Am hyny frodyr hawddgar,
Tra byddom ar y ddaear,
O ceisiwn gariad gan ein Duw,
Ac felly 'n wiw cawn ffafr.

Yn awr mi wnaf ddiweddu,
Gan annog pawb i garu;
Oblegid dyna'r ffordd i'r nef,
A chydag Ef deyrnasu.

*Brynbo.* JONATHAN ELLIS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

*Amseroedd Cymmanfaoedd y Deheu.*—Craffed ein darllenwyr ein bod ar ddymuniad taer amryw yn gohirio Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg hyd Rhagfyr 31, a'r Cymmanfaoedd dilynol wythnos yn mhellach.

☞ Hyderwn y trefna y Bugail Parry amseroedd Cymmanfaoedd y Gogledd i ddilyn, yn hytrach na bod ar yr un amser â'r rhai deheuol hyd y bo modd.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O TACH. 29 HYD RHAG. 8.—Isaac Jones, £1; E. Middleton, £3 10s.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 39.] RHAGFYR 30, 1854. [CYF. VII.

### "MORMONIAETH" YN YR UNOL DALEITHIAU.

*(Allan o'r "Millennial Star.")*

MAE yr amser yn dynesu pan y bydd yn rhaid i deyrnas Dduw ymsefydlu yn fwy amlwg ynghanol y ddaear, ac i ddynion ddechreu gweled, profi, a theimlo ei bod hi yn wir yn deyrnas i bob bwriad a dyben, fod ei llywodraethwyr yn arweinedig gan ddadguddiadau y nef, a bod ganddi restr o gyfreithiau sefydledig ar egwyddorion gwirionedd tragywyddol. Rhaid i'r gallu sydd er gweinyddu y cyfreithiau hyn i gynyddu, er gwaethaf llygredigaethau dynion a gwrthwynebiadau galluoedd y tywyllwch.

Byddai yn dda i'n gelynion pe y dysgent, trwy brofiad, y ddoethineb o'n gadael yn llonydd. Danghosa ein hanes blaenorol yn sicr nad yw erlidigaeth ond wedi cynnyddu ein grym a'n dylanwad, ac yn eofn haerwn i'r byd mai felly y parha yn yr amser dyfodol.

Erfyniwn erlidigaeth, gan wybod y gwrthwyneba galluoedd drygionus waith yr adenedigaeth. Dywed Crist mai angenrhaid yw dyfod rhwystrau, eithr gwae y rhai hyny trwy ba rai y deuant. Fel pobl, nid oes genym ddim i ofni rhag erlidigaeth, canys gwyddom yn sicr yr adeilada ni, tra y terfyna yn nghwymp ein gelynion.

O sefydliadau bychain yn Missouri cynnyddasom yn Ddinas fawr a threfnus, a meddem y mantoliad boliticaidd swydd gyfan yn Illinois. Wedi ein gyriad allan oddiyno i'r anialwch, ciliasom i gadarnfanau y Mynyddoedd Creiglyd, lle yn unig y



[PRIS 1*g*.

gallem fwynhau y rhyddid a wrthodwyd i ni gan Offeiriaid ariangar, llywodraethwyr llygredig, a phobl halogedig. Yno, trwy fendithion yr Hollalluog, planasom eginin Amherodraeth ddyfodol. Y mae yno Diriogaeth o gorffoliad da, yn cyfodi i fod yn bwysig yn nghlorian dylanwad politicaidd. Y mae y trigolion yn egniol, nerthol, ac yn gynnefin â chaledi a pherygl. Y maent hyd yn hyn wedi amddiffyn eu hunain yn erbyn eu gelynion, ac wedi bod yn ddigon galluog i gynnal gweinidogaeth eu llywodraeth eu hunain, gan na dderbyniasant ond ychydig gynnorthwy gan yr Unol Daleithiau.

Os felly yr arddangosasant nodweddau dynoliaeth yn eu babandod boreuaf, beth fydd canlyniad blynyddoedd mwy profiadol? Pa beth fydd gorchestion cawraidd y gallu hwnw sydd yn cynnyddu yn gyflymach po fwyaf ei gwrthwynebir? Gadawn i'r dyfodol amlygu y gofyniadau hyn, ac i'n gelynion eu hateb os gallant. Gwyddom mai eiddo yr Arglwydd yw y deyrnas, y cynnydda hi tra y darfydda teyrnasoedd ereill, ac y terfyna pob ymdrech o eiddo eu gelynion i'w rhwystro yn eu cwymp eu hunain. I'r ffos a gloddiant i'r Saint y syrthiant eu hunain, a dyrchafa egwyddorion gwirionedd yn fuddugoliaethus dros bob gwrthwynebiad.

Dysgwyliasom gyda dyddordeb mawr er's blynyddau am y diweddglo agoshâol yn yr Unol Daleithiau o barthed i'n pobl a'n hathrawiaethau ni, ac y mae wedi bod yn destun dyddorol ar aelwydydd cannoedd o deuluoedd "Mormonaidd" er's amser maith. Y mae y cymmylau bygythiawl a ymddanghosant i olygon pwlion cynhenwyr politicaidd a golygyddion llygredig, fel pe yn ymgasglu yn unig uwchben Utah yn orlawn o dynghed ddyfodol yr Undeb Americanaidd.

Y mae eryr rhyddid eisoes yn cwhwfan uwch cartrefleoedd y gorthrymedigion yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd. Y mae ysbryd rhyddid yn ymadael oddiwrth y bobloedd Americanaidd. Y mae godrau y genedl wedi ei rhuddo gan waed gwirion. Un ymgais etto gan y llywodraeth at efelychu gweithredoedd ysgeler Missouri ac Illinois, a bydd eu gogoniant wedi ymadael. Y Gogledd a'r Deheu a gyfodant yn erbyn eu gilydd, talaeth yn erbyn talaeth, cymmydog yn erbyn cymmydog, eu heddwch a gymmerir ymaith, a rhyfel, difrodaeth, a galanastra a ymledaenant drwy ei holl ororau.

Nid y presennol yw yr unig ddwys gyfwng a ddysgwyliwn ni. Gyda buandra cyfodant yn ddilynol; canys teyrnasoedd y byd hwn a ruthrant yn erbyn teyrnas Dduw a'r galluoedd bywyd. Rhaid profi eu grym gwrth gyferbyniol yn y brwydrau mawrion ag ydynt i ennill y ddæar odditan lywodraeth Satan.

Tra y gwledda ein gelynion eu gwanc gwaedlyd ar ein dystryw a hir ddysgwyliwyd, edrychwn ni yn dawel ar yr ystormydd agoshâol gan wybod eu bod yn olynol yn rhagflaenu dydd mwy gogoneddus i bawb a arosant yn ffyddlon yn achos y gwirionedd.

---

## PA FODD I GYNNORTHWYO HENURIAID AR GENADIAETHAU TRAMOR.

*(Allan o'r "Star.")*

Yn y Cynghor Cyffredinol a gynnaliwyd yn Llundain yn mis Mehefin diweddaf, cynnygiasom fabwysiadu rhyw gynllun amgen er cynnorthwyo ein brodyr yn y weinidogaeth, a allant fod yn llafurio o dan amgylchiadau cyfyng, nâ'u danfon i blith y Cynnadleddau i bregethu a chasglu modd. Teimlwn mai amser manteisiol yw yn awr er gosod y pwnc hwn gerbron y Saint mewn dull ag y caiff pawb gyfleusdra i gyfranu at yr amcan canmoladwy a phwysig hwn, yn lle ei osod gan mwyaf ar y Cynnadleddau mwyaf cyfleus a chyrhaeddadwy.

Mae y ddyledswydd o bregethu yr Efengyl trwy ymdrech bersonol, ac o gyfranu modd i gyflawni hyny, yn rhwymedig ar bawb Saint cyn gynted ag eu gwneir eu hunain yn gyfranogion o'r goleuni gogoneddus o'r nefoedd. Defnyddio ein meddiannau er lledaeniad yr Efengyl sydd fel taflu ein bara ar y dyfroedd, y rhai a ddychwelant atom yn mhen dyddiau lawer wedi cynnyddu ar eu canfed.

Ymwela Henuriaid â ni yn achlusurol o genadiaethau ar y Cyfandir, mewn anghen, wedi eu gwanychu gan noethni, eisieu, ac erlidigaeth, ac a ddylent gael amgeledd a chynorthwy; ac weithiau y mae Henuriaid ar eu ffordd i faesydd llafur ereill yn tirio yma, ac yn gofyn cynnorthwy i gwblhau eu taith. Ymddibyna ar Saint y wlad hon i gynnorthwyo y cyfryw, fel na rwystrer gwaith yr Arglwydd gan eisieu y cynnorthwyadau gofynol.

Cynnygiwn, gan hyny, fod i'r Saint drwy'r Ynysoedd Prydeinig o dan gyfarwyddyd eu Bugeiliaid a'u Llywyddion, wneyd casgliadau anymddibynol i'r dyben hyn yn unig. Bydded i'r rhai ffyddlon o bobl Dduw, ynte, gyssegru eu helaethrwydd yn ystod y gwyliau dyfodol gyda chyfraniad unfrydol a chyd-ymdrechol i'r dyben hyny. Yn nghanol gwledda a llawenhau, nac anghofiwch lafurwyr anghenog y winllan. Rhoddwch gyda llaw agored a chalon haelionus, gan gyssegru y moddion i'r Arglwydd, a gofynwch iddo Ef ei fendithio er lledaeniad ei waith ac iachawdwriaeth eneidiau. Yna bydd eich gorfoledd yn Nuw, a bydd ei wenau bendigedig Ef arnoch. Gweled y Bugeiliaid a'r Llywyddion fod yn dda i anfon i ni y casgliadau a godir felly, ac ymdrechwn ninnau eu defnyddio i'r dyben bwriadol gyda'r cynnildeb a'r ddoethineb a rodda yr Arglwydd i ni.

F. D. RICHARDS.

A gyfieithwyd gan Wm. Lewis.

---

[Gyda phleser y galwn sylw a chydweithrediad Llywyddion y Cynnadleddau Cymreig at y cais uchod; a chredwn fod eu profiadau ynghyd a'r Ysbryd sydd ynddynt yn dangos iddynt anghen a defnyddioldeb y mesur hwn heb i ni ymhelaethu, ond ein dysgwyliad am eu cyfraniadau haelionus i'n cyrhaedd mor gynted y bo yn gyfleus ganddynt.—GOL. YR UDGORN.]

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, RHAGFYR 30, 1854.

Y FLWYDDYN FYNEDOL.—Wele freichiau tragywyddol wedi ein cludo ni oll mewn mynwes Dadol drwy faith a dyrus bererindod blwyddyn arall, yr hon ynghyd â chyfrol arall o'i helyntion yn UDGORN SEION sydd bron a dirwyn i ben; cyn sengu ar drothwy y ddyfodol, gwnawn droi ar ein sodlau a chymmerwn sylldrem ar hyd yr hon ni ddychwel byth yn ol, a

pha beth a welwn? Ni a welwn ysbryd rhyfel megys ar farch coch yn carlamu drwy deyrnasoedd y byd, ac yn sarnu ei gedyrn i'r ddaear yn lluoedd; gwelwn wrth ei sodlau farch gwelw-lâs a'i farchogion yn hau clefydau, plâ a heintiau, ar y ddê a'r aswy; ac o'u hol clywir, yn yr awel orllewinol, wehyriad y march du, yr hwn, tan ei garnau, a ddifroda gnydau ein daear! Gwelwn, fe welwn yn y mynedol, ymadawiad heddwch o'r byd, y "drygionus yn lladd y drygionus," a'r ddarfodedigaeth a benododd yr Arglwydd i fod ar yr holl ddaear i'w gwneuthur hi yn wâg o drigolion, yn cael ei gyflawni gyda buandra anghydmarol. Mewn gwrth-gyferbyniad i'r olygfa alarus, gwel y llygad-craff gynnyddiad "Y garreg a dorwyd o'r mynydd," teyrnas y Duw hwnw a ddarostynga bob teyrnfradwriaeth, ac a sefydla deyrnasiad o gyfiawnder a hedd yn mhlith y pur o galon ar eu dadfeiliadau hwynt; gyda gorfoledd gwelwn y fraich Hollalluog yn cael ei dynoethi yn llwyddiant a chadernid Seion, a gwelwn arswyd ei dwyfoldeb hi eisoes yn gwelwi wynebau cedyrn byd, a phurdeb ei chyfreithiau yn arswydo rhai drygionus y ddaear, ac yn llawenhau calonau plant Duw.

Sylldrem ar gynnwysiad ein cyfrol olaf hon a ffurfia destun llawenydd i'r rhai a ddysgwyliant ddyfodiad y "Priodfab," drwy fod arwyddion yr amserau enbyd hyn a gofrestra yn rhagredegwyr iddo Ef, ac yn annogaethol iddynt hwythau i "ddyrchafu eu penau fod amser eu hymwared yn agosâu;" a ffurfia annogaeth gref i'r rhai a feddant yr Offeiriadaeth ddwyfol,—y gallu achubol, i ymwroli i ledaenu egwyddorion bywyd a heddwch yn mhlith yr ychydig onestion a chwennychant hyny.

Anwyl Saint, gan mai nyni yw goleuni y byd, trwsiwn ein lampau, a dysgwn wersi i'w cyflawni yn y dyfodol wrth edrych ar ffaeleddau y flwyddyn fynedol; nid wrth edrych ar eiddo ereill gymmaint, eithr drych fo y mynedol i bob un weled ei wendidau ei hun, a'i bleser fo ei gwella. I'r sawl a all syllu yn dawel a chydwybodol ar ei hanes ei hun yn y flwyddyn hon ei fod wedi gwneuthur yr oll a allodd er lleshâd ei gyd-ddynion a gogoneddu Duw, y mae iddo bleser mawr o'i ffyddlondeb; ac i'r sawl a fethodd boed yr arholiad hwn yn gyfnod diwygiad a ddug y cyffelyb lawenydd iddo yntau; felly, darparwn oll i

roddi ein cyfrif olaf i fyny yn llawen i bwyswr yr ysbrydoedd a gwybyddwr ein calonau.

Cymhellwn ein derbynwyr i werthfawrogi y gyfrol hon o herwydd y ddysgeidiaeth a'r hanesyddiaeth a gynnwys o Seion, ynghyd ag o herwydd defnyddioldeb y gohebiaethau a'r newyddion cartrefol a gynnwys; a diau y bydd ymholi gan ein heppil am y pethau hyn pan y bydd y campwyr sydd ar chwareulawr ein teyrnas yn bresennol wedi myned tu draw i'r llen.

Teimlwn bleser annhraethol yn cyd-lafurio a'n brodyr ffyddlon yn y winllan Gymreig, a diolchwn iddynt ac i'n Duw am bob argoelion a gawn o'u diwydrwydd a'u llwyddiant. Dywenydd genym allu syllu yn ol ar sefyllfa heddychol gyffredinol, ac ar iachus gyflwr yr eglwys drwy yr holl Gynnadleddau, ac yr ydym yn mawr lawenhau yn nghynnyddiad ffydd y Saint i gredu y dirgeledigaethau nefolaidd a ddysgwyd i ni eleni; dysgwyliwn *weithredoedd* mawreddog yn ffeithiau mwy profadwy etto yn y dyfodol o eu bod yn cynnyddu ar gynnydd Duw. Yn mlaen, *yn mlaen* fyddo ein harwyddair ni oll, fel milwyr glew yn myddin ein Brenin, a nyni yn gwybod mai ein braint yw darparu ei ffordd i'w deyrnas ogoneddus. Hyn ydyw taeraf ddymuniad, uchaf, blaenaf, ac eleni, olaf lais eich

GOL.

---

## DYFYNIAD O LYTHYR Y CHWAER JONES.

AR ddymuniad amryw heblaw ein hanwyl briod, dyfynwn a ganlyn o'i llythyr, dyddiedig, D. Ll. H. Mawr, yn Medi diweddaf:—

"Yr wyf fi a'ch plant bychain yn fyw ac yn iach o ddaioni ein Tad nefol, ac yn ymgysuro ein goreu yn ein hamddifadrwydd o'ch cysuron a'ch cwmniaeth dan yr ystyriaeth o fod ein haberth yn gymmeradwy gan ein Duw, er mwyn teyrnas yr hwn yr ydych wedi ein gadael, a myned braidd drwch y ddaear oddiwrthym. Teimlaf fi yn foddhaol i drefniad yr Arglwydd i chwi ei wasanaethu Ef a'i waith yna yn hytrach na ein cysuro ni yma; etto, nid gwiw i mi ddweyd nad yw fy meddwl yn dianc yn mlaen i bortreadu golygfeydd eich dych-

weliad. Dywed Claudia fach wrth y plant fod ei thad wedi myned i Gymru i ymofyn y Saint adref. Am y rhosyn bach arall, nid yw yn dweyd nemawr etto, ond yn parablu am yr uchaf a'i chwaer fach enw y "*dada*" na chafodd erioed y fraint o'i weled; mae Ef yr un ddelw ac enw a'n Dan bach a foddodd cyn eich ymadawiad oddiyma. Byddwch siwr a thalu diolch droswyf o galon i'r chwiorydd anwyl a anfonasant yr anrheg o ddillad Cymru i mi a'm plant bach; maent o well defnydd na dim a brynir yma; talaf eu caredigrwydd yn ol pan y delont hwythau yma, hyd y gallaf, dywedwch.

Mae llawer o'r Saint wedi cyrhaedd yma, ac amryw Gymru yn mhlith ereill, mae y gweddill o'r ymfudwyr yn dyfod yn llwyddiannus meddir. Dangosir caredigrwydd cyffredinol i fyned â gweddeu i gyfarfod y rhai olaf. Un o brif wleddoedd y Saint yma yw y dysgedigaethau a geir yn y Tabernacl ar y Suliau gan ein Llywyddion ac ereill; cawn ryw oleuni adnewyddol yn barhaus ar bwysigrwydd a mawredd gwaith y dyddiau diweddaf. Pleser genych chwi fyddai gweled y dylanwad sydd gan y Llywyddion yma yn awr; gwna pawb braidd bob peth a geisiant yn ewyllysgar. Mwynheir heddwch cyffredinol yn mhlith y Saint, ac iechyd. Mae y mur mawr o amgylch y Deml wedi ei gwlhau, a phenderfyniad i fyned a'r Deml yn mlaen yn gyflym. . . . . Pe deuwn i Gymru etto tystiolaethwn yn gadarnach na phan yr oeddwn yna o'r blaen mai gwaith Duw yw y gwaith hwn, o herwydd yr wyf wedi ac yn cael prawfiadu ychwanegol o hyny yn barhaus; byddwch cystal a'm cofio i yn garedig at y Saint yna, yn enwedig y rhai a adwaenwn pan yna; hiraethaf am eu gweled yn y lle iach, heddychol, a dedwydd hwn; mae amryw o'm hen gydnabod wedi cyrhaedd, a chaf bleser yn eu cwmni yn fynych. Mae yr holl Gymru sydd yma yn iach ar a wn i, ac yn gwneyd yn dda yn gyffredinol; aeth y mwyrif o honynt i'r Box Elder. Y mae llawer o'ch hen gyfeillion, heblaw Cymry, yn holi yn fynych am danoch, ac yn dymuno eu cofio atoch yn neillduol. Mae teuluoedd Jeremy a Daniels yn iach, cofiwch fi atynt hwy, at ein perthynasau, ac at y Saint, ond at neb yn fwy nag atoch eich hunan. Yr Arglwydd mawr a roddo i chwi lawer iawn o'i Ysbryd Glân yn barhaus, ei angylion a'ch cadwo rhag yr heintiau a'r peryglon sydd yn y byd, a lwyddo eich

cenadiaeth yn fawr iawn, ïe, gymmaint ag a ddymunwch eich hunan, ac a'ch dychwelo chwi yn ol mewn gorfoledd, yw taer a pharhaus weddi

"Eich ffyddlon briod,

"JANE JONES."

---

## EMYN SEION,

RHYW olwg hardd, pob hedd a dardd,
Dros wyneb daear,—byd a chwardd,
Pan fo Seion uwch gelyion,—
Galon creulon croes:
Fy nghalon sydd bob nos a dydd,
Yn hiraethu am fod yn rhydd,
Draw'n ddiangol, llon a siriol,
Mewn dewisol oes:
'Rwy'n llawenhau yn ngwaith fy Nuw;—
Mae heddwch dan fy mron;
Tra yn fy nghalon d'rawiad byw,
Mi garaf lwyddiant hon,—
Dyna'r fan y caraf fod,—
Hedd diddarfod yno fydd;
Poen ac wylo wedi cilio,
Gwawrio wnelo'r dedwydd ddydd.

DEWI ELFED.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O RHAG. 9 HYD RHAG. 28.—A. L. Jones, £2 6s 2c; Thomas Evans, 15s; John Williams, £2 10s; G. W. Davies, £15.

*⁎* Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones*, "*Udgorn Seion*" *Office, Swansea*.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

# SEREN Y SAINT;

YN CYNNWYS

EGWYDDORION "GORUCHWYLIAETH CYFLAWNDER YR AMSEROEDD,"

MEWN

TRAETHODAU, LLYTHYRON, HANESION, PRYDYDDIAETH, &c.

"A mi a osodais wylwyr arnoch chwi, gan ddywedyd, Gwrandewch ar sain yr udgorn."—JER. VI, 17.

"Holl drigolion y byd, a phreswylwyr y ddaear, gwelwch pan gyfodo efe faner ar y mynyddoedd, a chlywch pan udgano ag udgorn."—ESA. XVIII, 3.

CYFROL VIII.

---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD, CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN D. JONES.
1855.

# RHAGYMADRODD.

---

PRIF hynodweddau yr wythfed gyfrol o UDGORN SEION ydynt, wrthgyferbyniadau doethineb ddwyfol yn sefydlu teyrnas Dduw ar ddadfeiliadau teyrnasoedd y byd, y rhai a wywant dan ddylanwad ffolineb "doethineb ddynol;" ynddi gwelir esiamplau galarus o ymgyrchiadau duwinyddion, golygyddion, tywysogion,—teyrnasoedd yn crynhoi eu nhertheodd yn benbleth yn erbyn eu gilydd i ryfel ysgrifellau, geiriau, cyflegrau, a drylliau yn eu pangau angeuol i gynnal eu llywodraethau; ceir ynddi gip drem hefyd, yma a thraw, drwy gymmylau rhyfelawg ein hawyrgylch ar deyrnas yr hedd o'i chychwyniad, fel "carreg a dorrwyd o'r mynydd nid o waith llaw;" ar ei threigliadau anturus a gorchfygus trwy deyrnasoedd y byd, ac ar rymusder cynnyddol ei chylchdroadau yn chwilfriwio gau-ddelwau Babilonia yn llwch.

Po uwchaf adleisiadau udgyrn y Babilon benfeddw yn gwahodd gwledydd i chwareulawr rhuddiog y rhyfel, uwchaf fyth y bloeddia UDGORN SEION, a phob bloedd yn uwch fyth, ar blant Seion, "Deuwch allan o honi hi fy mhobl i na fyddwch gyfranogion o'i phechodau, fel na dderbyniöch o'i phläau."

Tra y gwelir ymbleidiau, cenfigenau, a gau-grefyddau wedi gwau sachlen ddu dew i amdoi wynebpryd awyrgylch gwlad anghrist â chaddug, drwy yr hon ni thewyna belydr o oleuni "Haul cyfiawnder" yn uniongyrchol, arweinia *Seren y Saint* bererinion blant y nef o gam i gam drwy ddyrys anialwch y byd i'w nhoddfa glud i blith "sêr y boreu" yn Seion.

Tra y mawrygwn ein braint fwy-fwy, o gyfrol bwy gilydd o gael cyd-filwrio a'n cyd-filwyr, crefwn eu cymhorth i udganu yn groewach a phereiddiach ar *ddechreu* ein cyfrol ddyfodol, ar nad pwy udganwr a'i diwedda.

"Adref, adref, blant yr Arglwydd,
Galwad sydd i dd'od yn ebrwydd,"

fydd blaenaf, uchaf, ac olaf lais eich HUDGORN, nad pwy a fo, nes adref y delo y gwanaf o blant Seion. Sain cywir, sŵn clir, a grymusder y gwir i dreiddio i galonau ein darllenwyr rhodded Nêr i bwy bynag a chwytho drwy HUDGORN SEION yw, ac a fydd taeraf ac olaf weddi, eich—

GOLYGYDD.

# CYNNWYSIAD.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 1.] IONAWR 6, 1855. [CYF. VIII.


### AT RIAINT.

"HYFFORDDA blentyn yn mhen ei ffordd, a phan heneiddio nid ymedy â hi," ebe y gwr doeth gynt; ac er na allwn danysgrifio ei air gyda yr un sicrwydd ag y gwna ef, o herwydd fod plant ein hoes ni yn gyfnewidiol eu mheddyliau; etto teimlwn i wasgu at y rhai a wnaethpwyd gan Dduw yn rhiaint, y pwysigrwydd o ddysgu y ffordd iawn eu hunain, ei rhodio, a thrwy eu hesiamplau a'u cynghorion i ddysgu eu plant i wneuthur felly hefyd. Nid yw y rhai a ystyriant eu plant yn *ail* i unrhyw roddion o eiddo Duw iddynt yn eu hiawn brisio, nac o ganlyniad, yn deilwng o honynt; ac ni esgusoda y Rhoddwr na'r rhoddion mo y rhiaint a ddysgwyliant i ereill gyflawni at eu plant hwy y dyledswyddau a ofyna natur a Duw natur iddynt hwy i'w cyflawni eu hunain.

Calon pwy dad neu fam a all beidio gofidio pan y gwel eu llygaid lygredigaeth yr oes ieuanc; clustiau pwy na ferwina wrth glywed eu cabledd, eu screchiadau a'n direidi? Nid digon trwchus muriau ein tai rhag ein syfrdanu gan eu mwstwr annyoddefol. Plant yw tenantiaid ein carchardai, ac ysglyfaeth crogbrenau ein gwlad! Gwir fod ysgolion dirif braidd drwy ein gwlad; eithr beth well er hyny? Carcharau i'r plant y'nt, o'r rhai yr hiraethant am ryddid i ymgynhenu am y feistrolaeth o ddysgu direidi i'w gilydd; rhiaint a ddylent addysgu moesoldeb a dyscyblu meddyliau eu plant; iddynt hwy y rhoddes yr Hwn a'u pïa awenau llywodraeth; hwy a allant ac a

ddylent arwain eu meddyliau tyner yn y ffordd uniawn. Esiamplau y rhieni, pe dechreuid yn brydlon, a arweinient y meddyliau tyner a blagurol y ffordd a ddewisent, a phe felly, ennilient ddylanwad y rhai hynaf, i fod yn ysgolfeistri effeithiol i'r ieuengach o'r a'u cyd-chwareuyddion.

Beth a ddysgwylia y rhieni hyny a gefnogant eu plant i ormesu ar a chablu plant eu cymmydogion, ond y gwnant felly â'u gilydd pan eu cyffroir; ac o dipyn i ychwaneg deuant ddigon gwyneb galed i "dalu yr hen chwech" i'w rhieni eu hunain. Os clywa plant eu tad neu eu mham yn dweyd anwiredd, neu os gwelant hwynt yn gwnethur unrhyw anonestrwydd, diau y dylanwada yn gryf i ladd eu hymddiried ynddynt, neu i ddilyn eu hesiampl hwynt. Ymblesera rhieni mewn manau yn gweled eu plant yn erlid, yn gwawdio ac yn llabyddio dieithriaid anghall neu estroniaid hyd yr heolydd, heb gofio nemawr mai felly y telir iddynt hwythau yn ol yn ei dro; a gwaeth fyth, gwelsom riaint yn ddiwyd a selog iawn yn casglu plant yr heolydd ynghyd, ac yn eu danfon i'r fan lle y pregethai gwas i Dduw yr efengyl, gyda gorchymyn caeth i floeddio, wban, a gwneyd trwst, fel na chlywai neb ddim a ddywedai! Pa faint gwell y rhiaint hyny na y rhai a yrent eu plant gynt i waeddi "dos i fyny moelyn," ar ol yr hen brophwyd gynt? Ac oni fuasai mwy amynedd Duw, tebyg fuasai y canlyniad etto; pwy rieni na arswydai rhag mai felly y bydd os na ddiwygiant. Hysbysir ni fod rhieni yn cael eu dysgu i hyny o le uwch—y mae genym enwau Peirch a annogant o'u pwlpudau i anfon plant i floeddio ar ol, a lluchio baw at bregethwyr o wahanol farnau iddynt hwy; ïe, "yn yr oes oleu hon!" Beth ond codi oes o erlidwyr crefydd yw hyn? Bywyd pwy, a feiddio fod o wahanol farn, fydd ddiogel pan dyfo yr oes hon o blant yn ddynion? O "Gristionogaeth," O riaint "Cristionogol," fel y galwch eich hunain, gweithiwch yngyntaf wareiddiwch, yn lle y fath anwareiddiwch, â hyny i'ch plant rhag cywilydd i'n gwlad!

Wrth y Saint, y rhai a gydnabyddant y plant yn rhoddion yr Arglwydd ac yn ogoniant i'w rhieni, dywedwn,—gan fod "ymarferiadau drwg yn llygru moesau da," ymwnewch i gadw eich plant hyd y bo modd oddiwrth ddylanwad ac arferion Babilonaidd a llygriadau plant yr oes; mynych y clywwn blant y

Saint yn cael eu herlid o blith ereill, gan rai yn lluchio ar eu hol, gan waeddi yr "hen Saint," neu ryw beth gwaeth ar eu hol; a da hyn o'r drwg, os ceidw hwynt o'r fath gwmniaeth lygredig; diau mai eu rhieni a ddysgodd hyn i'w plant, a hwy ddelir yn gyfrifol; pe dysgasent hwy yn groes darfyddasai yr effaith, yr hyn a galonoga y Saint i'r ddyledswydd o ddylanwadu ar eu plant eu hunain i'w harwain yn y ffordd iawn.

I'r Saint ffyddlon, mae y dydd eisoes wedi gwawrio iddynt i ymddidoli eu plant a'u hunain o blith y fath lygredigaeth andwyol, a diau fod y rhiaint a adnabyddant y pwysigrwydd o'r testun yn hiraethu am weled eu hunain a'u hanwyl blant yn Seion heddychol, lle y dysga rhieni "pur o galon" eu plant i fod felly hefyd. Ond hyd hyny, y mae ganddynt waith i'w wneuthur i gadw eu meddyliau rhag llygru, a'u nhwydau rhag cynnyddu yn afiywodraethol cyn hyny; y mae dylanwadau arferion, iaith, a thraddodiadau, yn ffurfio eu cymmeriadau yn awr—o ddydd i ddydd; a pho hwyaf y gadewir iddynt, po fwyaf fydd gofid eu rhiaint i'w dadwneyd. Mae dylanwadau yn cael eu creu ar ein plant oddiwrth bethau na feddylia eu rhieni yn fynych; a'i tybied yr ystyria y fam pan yn hongian rhyw hen bictwr i guddio y pared, yn dynodi Crist yn sefyll yn yr afon, a Ioan yn arllwys dwfr o gragen arno, fod hyn yn magu cred yn y plant mai dyna y dull cywir o fedydd? A ystyria y tad fod ei blentyn 5 mlwydd oed yn syllu yn graff arno ef yn difyru ei hun yn ei gadair ddwyfraich, ei bibell hir yn ei ben, a'r mwg yn gymylau o'i amgylch, ac yna yn rhedeg o'r neilldu i'w efelychu ef yn hyn; a'i fod ef drwy hyny yn magu arferiad niweidiol, ac efallai rhy anhawdd ei gorchfygu yn ei blentyn ei hun? Niweidiol arw i blant yw lluniau y diafol a'i gyrn ceimion, ei gynffon laes a'i garnau, crea farn mai dyna y fath yw a bara arswyd ar lawer a'i dilyna ar hyd eu hoes, a diau fod y darluniau Pabaidd o lun angylion ag adenydd ganddynt a welir hyd parwydydd y tai, wedi peri i'r werin gredu mor ddiysgog fod gan angylion adenydd, fel mai ofer ceisio eu hargyhoeddi. Mae llawer o luniau ereill hollol anwireddus yn cario dylanwad niweidiol ar yr oes sydd yn codi ag y gall pob rhiaint eu hadnabod a'u symud eu hunain.

Eithr nid lluniau yw y gwaethaf eu dylanwad ar blant; mewn gair, mae Catechisms yr oes yn gwenwyno mwy ar fedd.

yliau plant nâ'r oll a geir i'w nhiweidio! Profiad a'n gorfoda i'r penderfyniad hyn; cofus am ei wersi, ei gwestiynau, a'i atebion hyd heddyw, megys "O ba beth y creodd Duw y byd?" Ateb. "*O ddim!*" Hawyr! beth geir yn fwy afresymol, —yn fwy anmhosibl nâ hyna? Etto, ac er na cheir adnod i'w brofi, dywed Catechism hyny, a dyna ddigon i'r plentyn, ac hyd y nod iddo pan yn ddyn, hyd nes yr alltudia rheswm, er gwaethaf dylanwad traddodiad, y fath gelwydd o'r grêd. Cymmysgir cynnifer anwireddau a chyfeiliornadau mor andwyol yn esboniadau gau athrawon ysgolion Suliol, a chan Gatechisms pob sect ar a welsom, fel y mae cariad at les yr oes yn ngwyneb yr esiamplau a welsom yn ein cymhell i berswadio rhiaint i beidio gadael i'r fath wenwyn suro meddyliau eu plant; na chadwch hwynt yn eich tai, ac na adewch i'ch plant fyned i'r ysgolion a orfoda arnynt ddysgu y fath bethau niweidiol, onide y cyntaf peth a wyddoch pan y byddoch chwi am gychwyn tua Seion bydd eich plant wedi magu casineb at y gwirionedd, wedi gwreiddio yn nhraddodiadau Babilonaidd yn rhy ddwfn i chwi allu eu codi oddiyno. Yn lle gadael i'ch plant fyned i gapeli neu eglwysi sectyddol er boddio eich perthynasau na neb ereill, deuwch a hwynt yn eu hieuengtyd i'r fan lle y clywant athrawiaethau iachus, ac y cyfarwyddir eu mheddyliau yn ffyrdd yr Arglwydd; yn lle Catechisms sectyddol, y rhai a'u dysgant fod y Beibl yn cynnwys holl feddwl Duw, nad oes doniau ysbrydol i'w cael, ac mai cabledd yw ceisio dadguddiadau oddiwrth Dduw yn awr, &c., rhoddwch yn eu dwylaw "Gatechism Jaques," yr hwn a'u gwna yn ddoethach yn nhrefn Duw i achub dyn nag a ddichon holl ddoethineb ddynol ein hoes ei wneuthur. Yn lle darllen esboniadau nac ystoriau cenadol, nac hanesion ffugiol i gynhyrfu teimladau, nac i ddenu eu ceiniogau i anfon nac i gynal yn y gwledydd pellenig genadon sectyddol i wenwyno meddyliau Paganiaid, ac i'w cymhell hwynt i erlid gwir weision Duw, a gwrthod ei genadwri anfonedig Ef atynt, fel y gwna y gau athrawon hyn drwy y byd braidd yn awr; gwell i chwi geisio gan eu mheistr hwy, neu eich mheistr chwi, un o'r ddau, eu cymmeryd o ffordd cadwedigaeth y byd, a rhoddi Udgorn Seion, Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau, Llyfr Mormon, yr Eurgrawn, neu draethodau, o'r rhai y meddwch amrywiaeth mewn gwahanol ieithoedd yn

wylaw eich plant: arweinia y rhai hyn hwynt i gredu ac ufyddhau i ddatguddiadau Duw yn olynol, heb orfod chwilio am y bennod a'r adnod i brofi pob peth, ond cynnydda eu ffydd i fyw ar *bob* gair *a ddaw* o enau yr Arglwydd; tra y dysga y lleill hwynt fel ein dysgwyd ein hunain i anghredu gwirioneddau; a phwy sydd heb destun galar yn ngwrthwynebrwydd ei draddodiadau blaenorol i ddadguddiadau Duw? Arbedwn ein plant o'r cyffelyb berygl tra maent o fewn ein cyrhaedd.

Dywenydd genym ddeall fod Llywyddion Cynnadleddau yn gosod Llywyddion Cangenau o dan eu gofal i gadw ysgol ar foreu Sul i ddysgu plant, a'r bobl a ddelo yno i ddarllen, a cheisiwn gan riaint gefnogi y gwaith canmoladwy hwn drwy anfon eu plant yno yn gyson, a myned eu hunain hyd y gellir; y mae eich plant yn debyg iawn o fyned gyda eu cydnabod i ysgol arall os nad ânt i ysgol y Saint, ac nid yn unig gwenwynir eu barn, ond cynnefinant â'r lle fel dafad â'i chynnefin le, pe bai ben craig, fel na adawo am y dolydd brasaf; felly eich plant ond odid, os i ysgol sectyddol y gadewch iddynt fyned, ar nad yno yr ânt i wrando pregethu, ac felly nid yn unig chwychwi a'u collwch, ond pera eich esgeulusdod i chwi ddraen yn eich mynwes, ac ysbryd sectyddol o dan eich cronglwyd, mwy anymad na defni parhaus na thŷ myglyd. Pa gysylltiad sydd rhwng Ysbryd Duw ag ysbryd y byd hwn? Dim, ond dieithria yr olaf blant oddiwrth eu rhieni anwylaf, a gesyd hadau chwerwedd lle y bo. Diddadl y dalia Duw y rhieni yn gyfrifol am eu dysgyblaeth ar eu plant eu hunain; ac yn Seion yn enwedig deallir hyn yn effeithiol; a gwyn fyd y rhai a arbedant iddynt eu hunain y gwarth o deulu anufydd yno, drwy fod wedi dysgu y gwersi dyladwy iddynt yma, tra y mae hyny yn hawdd ei wneuthur. Cofus am chwedl briodol i brofi yr egwyddor hon, a ddywedir am Turpin yr ysbeiliwr nodedig. Pan un tro y cwympodd ei dad ei hun yn ysglyfaeth iddo, er heb ei adnabod, begiai am ei fywyd; atebai Turpin ef drwy ei arwain at bren anferth yn y goedwig, ac addaw arbed ei fywyd os plygai efe hwnw lawr. Gan na allai addawodd ei arbed os gwnelai efe blygu gwialen fain oedd ar ei bwys, yr hyn a wnaeth yn hawdd gan hòni ei ryddid. "Dôs fy nhad," ebe efe, "a dysg wers oddiwrth hyna i blygu y gweddill o'th deulu tra y gelli yn lle eu gadael i dyfu yn anmhlygedig fel y gwnaethost

â mi; myfi yw Richard Turpin dy fab." Diau fod calon y tad yn teimlo y sèn, a'i theimlo yn waeth wrth ddeall ei fod yn achos o ddrwg na allai ei ddad-wneyd, a dysga hyn wersi effeithiol i rieni yn awr.

Addurner eich llyfrgelloedd, eich byrddau, a'ch ysgolion gan lyfrau o waith awduron ysbrydoledig, y rhai a appwyntiwyd gan Dduw yn arweinyddion i chwi; canys y rhai a addaswyd gan ysbrydoliaeth i'ch dysgu yw y rhai addasaf hefyd i gyfarwyddo eich plant yn mhen y ffordd, fel pan yr heneiddiont na ymadawont o honi; eithr fel y cyflawner hwynt o'r Ysbryd Glân, y tyfont yn iachus, doeth a heinyf, ac y byddont yn gedyrn golofnau yn nheyrnas Dduw, i anrhydeddu enwau a chofi-awdwriaeth y rhieni a'u dysgodd ar ben y ffordd, yn mhlith cenedloedd a ddêl; ac fel y cynnyddont eich teyrnasoedd, ac y lliosogant eich deiliaid yn ddiderfyn, yr hyn a fyddo rhan pob rhiaint ffyddlon yn nheyrnas Dduw, drwy Iesu Grist Amen.

---

## LLWYDDIANT YR EFENGYL YN Y TALEITHIAU,—SEFYDLIAD CYNNADLEDD GYMREIG, AC ARGOELION ADDAWWOL.

*Minersville, Ohio, Tach.* 20, 1854.

Anwyl Frawd Jones,—Wele fi unwaith etto yn defnyddio adeg er eich annerch trwy ychydig linellau o'r Americ. Yr wyf yn teimlo syched am gael clywed oddiwrthych yn fynych er cael peth o'ch helynt, a chael hanes am y gwirionedd a'i ganlyniadau yn mhlith fy nghyd-genedl yn ngwlad fy mam. Derbyniasom lythyr caredig a serchus oddiwrthych, dyddiedig Medi 13, a da iawn oedd genyf i glywed ei gynnwysiad, ac yr wyf yn teimlo yn ddiolchgar iawn i chwi am eich cynghorion, a'ch sylw manwl o honom fel Canghen yn y lle hwn. Gobeithiwn na thramgwyddwch am ein bod yn eich blino mor fynych â'n llythyron. Y teimladau uchod sydd yn fy nghymell fel y caf fwynhau rhagor o'ch cynghorion a'ch addysgiadau hyfrydol. Nerth a gaffwyf fi a'r holl Saint i fyw yn eu hol yw fy ngweddi yn barhaus.

Yr ydym wedi anfon llythyr at y Llywydd yna er cael clywed pa le y mae y Llywydd nesaf atom, ac er cael ychydig

gynghorion hefyd. Os cawn ar ddeall fod Orson Spencer yn Cincinnatti, yr ydym yn penderfynu, os bydd yn bosibl, i gael ganddo dalu ymweliad â ni yma. Yr ydym yn credu y gwna efe leshâd cyffredinol i ni, er fod yma yn barod well argoelion am lwyddiant ar y gwaith da hwn nag a welais yma erioed o'r blaen. Mae yma yn awr ddwy Gangen, ac felly mae yma Gynnadledd, yr hon sydd dan fy ngofal i, a Joseph Joseph, gynt o Pendarren, yn llywyddu y Gangen yn fy lle, ac Elias Thomas yn llywyddu y llall, ac yr ydym yn bwriadu sefydlu Cangen etto heb fod yn hir. Yr ydym yn ychwanegu mewn rhifedi yma o hyd, drwy fod brodyr a chwiorydd yn ymdynu atom, ond ychydig ydym wedi fedyddio hyd yn hyn, ond yr ydym yn credu y bedyddiwn ein cyd-gendl yn lluoedd cyn bo hir. Mae yma laweroedd o'n cyd-genedl yn ymddangos fel pe baent yn credu yr Efengyl. Yr ydym wedi sefydlu cylch yma yn awr, er i'r swyddogion i ddilyn eu gilydd i bregethu yn mhob man lle eu croesawir â drysau agored i'r perwyl, ac y mae awydd a syched yn yr holl swyddogion am gael troi yn eu cylch. Llawen genyf allu dweyd fod cynnifer o weision medrus mor awyddus a phenderfynol i weithio yn ngwaith Duw. Awdwr y gwaith a fendithio ein llafur nes dwyn yr holl onestion eu calonau yn ddeiliaid o'i deyrnas ; y mae undeb a chariad yn cynnyddu yn ein plith, a'n taer ddymuniad yw iddo barhau o hyd felly.

Dymunwn i chwi barhau yn eich sylw o honom, er y byddwn yn anfon ceisiadau at y llywyddiaeth nesaf atom, bydd ein hyder ynoch chwi yn parhau yr un.

Mae y gweithfeydd glo yma ar *stop* er ys dau fis, ac heb un argoel am iddo gychwyn, a hyny yn unig o eisieu dwfr yn afon Ohio; y mae wedi gwneuthur haf sych iawn yma eleni, y sychaf a welwyd er ys 16 o flynyddau, ac y mae yn parhau yn sych iawn o hyd. Felly, y mae amgylchiadau tymmorol yn myned yn dywyllach, dywyllach o hyd, o herwydd nad oes yma ddim i gludo y glo ffwrdd ond mewn badau ar yr afon. Mae y nwyfau yn ddrutach lawer nag y buasent pe buasai yr afon yn uchel.

Y mae Joseph Joseph yn dymuno ei gofio yn fawr at Dafydd ei frawd a'i deulu, ac at yr holl Saint. Mae Daniel Llywellyn, gynt o Pendarren, ynghyd a John Llywellyn ei gefnder yn

cofio atoch, ac at yr holl Saint yn Pendarren. Hefyd, y mae Wm. Evans yn cofio atoch.

Terfynaf y tro hwn gan gyflwyno i chwi fy serch am cariad gwresocaf.

Ydwyf, eich brawd yn Nghrist.

THOMAS M. RICHARDS.

---

[Dyddanus fydd gan ein darllenwyr ddeall fod sêl frwdfrydig yr efengyl yn ysu ein brodyr yn yr Americ, ac y fod cystal gobeithion o'u blaen; yr Hwn a ddalia allweddau bob calonau a fendithio eu llafur i argyhoeddi y miloedd o Gymru a'u hamgylchynant, a chwytho wreichion tân yr efengyl i oleuo miloedd Cymry Wisconsin, Pensylfania, Caerefrog Newydd, a a phob Cymro gwasgaredig trwy y cyfandir. Yn neillduol, crëa hyn ddyddordeb mawr i'r sawl a fwriadant ymfudo yno. Da genym glywed hefyd fod y brawd John James, gynt Gweinidog y Bedyddwyr yn Nghefn Coed y Cymmar, yn y fan uchod, yn gadarn yn y ffydd, ac yn selog i achub ereill o reffynau gau draddodiad.—GOL.]

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, IONAWR 6, 1855.

Y FLWYDDYN NEWYDD.—Wrth sengu ar drothwy y flwyddyn newydd hon i edrych yn ngwynebau, ac wrth grafangu ein hysgrifell i gerfio ein meddylddrychau ar feddyliau ein darllenwyr lliosog, mae mawredd ein cyfrifoldeb yn ymrythu yn ein llygaid, a'r pwysigrwydd o gyflawni dyledswyddau y cylch ein gbsodwyd ynddo yn ein symbylu yn mlaen er hyny i wneuthur a allom; ymddiriediad yn ngallu yr Hwn a'n pïa, ac yn eiriolaeth ein cyd-weithwyr drosom a'n calonoga i ddechreu ar waith y flwyddyn hon gyda mwy o awydd a hyder nag a feddiannasom erioed o'r blaen.

Bygythia y flwyddyn 1855 fod yr un fwyaf argoelfawr i'n gwlad ni, os nad i wledydd y byd, o'r holl flynyddau mynedol. Er fod genym wledydd cedyrn a galluog yn gyd-weithwyr selog, mae un o brif alluoedd y ddaear, ar nad faint chwaneg, yn bygwth ein niwed, ac hyd yn hyn wedi difrodi ardderchogrwydd ein byddinoedd—"Ymffrost y byd," ac yn beiddio holl Ewrop i ryfel, nad yw efe wedi braidd ddechreu etto. Mwy na thebyg fod gogoniant a llwyddiant os nad rhyddid y genedl rymus hon yn y dafol a'i gwrthbwysa yn drymach na dim a fu i'w herbyn; ac ymddengys fod yr elfenau daearol, wybrenawl, a morawl yn elynion mwy angeuol nag yw Nicholas o Rwsia, er ei holl rwysg! Ni ddymunem ddychrynu neb, ac ni allwn, canys y mae difrodaeth ein byddinoedd yn rhy amlwg i'w guddio o wydd y byd,—pan y mae yr holl gatrawdau a ânt i faes y rhyfel yn methu gwneuthur i fynu y rhif cyntaf a diriodd yno. Cyduna pob argoelion i gyfenwi hwn yn rhyfel mawr. a diau fod miliynau yn estyn eu gyddfau ac yn rhythu eu llygaid yn awyddus i weled ei ganlyniadau.

Rhy alarus yw cwynfanus leisiau dyoddefyddion y rhyfel i lanw tudalenau ein HUDGORN bychan; er nad ystyria y rhai a ddeallant ragfynegiadau yr Hollwybodol drwy ei weision,—y rhai y "rhoddwyd iddynt i wybod arwyddion yr amserau," a'r rhai ydynt wedi bod yn eglur ragfynegu y dydd rhyfel, erchyll ddydd y marwol bla a'r haint, a dydd y newyn du, pan y gwaeddai pawb ereill "Heddwch heddwch;" nid ystyria y cyfryw, meddwn, fod hyn oll ond "dechreu gofidiau," ac ond dechreu "gwaghâu y ddaear o'i thrigolion." Ac mor bell o ddysgwyl i'r rhyfel a'r barnedigaethau argyhoeddi y byd i gredu yr efengyl, ni'n siomir drwy hysbysiad brodyr sydd yn y rhyfel fod cyndaredd y gweddill mor erwinol yn erbyn teyrnas Dduw, fel na chlywir ond rhegfeydd a bygythion y milwyr yn adleisio drwy eu gwersylloedd am hir amser wedi yr enwir enw "Saint y Dyddiau Diweddaf;" ac y mae y brodyr sydd yno mor gaethiwus fel na chaiff dau o honynt byth braidd gyfarfod â'u gilydd i weddio! Prawf hyn nad argyhoedda cyflafan rhyfel mo galon y dyn anonest, a chyflawna y gair a ddywed, "Er hyn oll nid edifarhâ dynion i roddi y gogoniant i Dduw, eithr melldithiant Dduw o herwydd eu dyoddefiadau."

Yn ngwyneb cyflwr cyffrous ein byd gwelir gwerth Seion

heddychol; mewn gwrthgyferbyniad i andwyol ddylanwadau gau-grefyddau, y rhai a ddiluwiant y byd â gwaed, iawn brisier bur ddysgeidiaeth y nef, yr hon a duedda i heddychu dyn â'i gyd-ddyn—ei elyn, â'i Dduw yn gyntaf; yr hon gyfraith a ddeilliaw yn awr o Seion Duw, udganu yr hon i drigolion ein gwlad yw prif amcan ein HUDGORN eleni etto.

Gyd-filwyr yn myddin yr Iesu, ein dyledswydd yw udganu arnoch, "Dilynwch sain yr *Udgorn*; ein pleser mwyaf fydd cyd-filwrio â chwi yn nheyrnas y Gwaredwr; a galwn ar yr oll i wisgo am danynt holl arfogaeth Duw, gan gofio fod cywirdeb calon, purdeb buchedd, a gwroldeb ysbryd yn anhebgorol er i'n Brenin goroni ein llafur â llwyddiant. Gwersi dyladwy fyddo cyflwr presennol y byd i'n coffhâu nad oes i *ni* yma ddinas barhaus; mai dyeithriaid ydym yn Babilon yn ceisio gwlad well yn y gorllewin fyd, lle y mae cyfiawnder a hêdd yn teyrnasu; dyfodiad barnau Duw ar y byd a'n gwnelo yn wyliedyddion effro a dyngarol i rybyddio ein cyd-ddynion a orweddant mewn tywyllwch, o'u perygl; hyn yw ein dyledswydd a'n braint; i ni yr ymddiriedwyd hyn o waith, a'n *pleser* fyddo ei wneuthur â'n holl allu.

---

YR WYTHFED GYFROL O'R UDGORN.—Galwn sylw difrifolaf Llywyddion a Dosparthwyr Cynnadleddau a Changenau at y ddyledswydd bwysig o gynnyddu cylchrediad yr UDGORN. Hysbys i bawb yw mai ar yr ammod o gymmeryd tri am dair ceiniog yn lle un am ddwy a dimai, ei werthir am geiniog, yr hyn yw y pris iselaf a'i cynnalia; eithr ni werthir cymmaint yn awr am geiniog ag a werthwyd gynt am ddwy geiniog. O herwydd hyn gorfodwyd ni i'w gyhoeddi bob bythefnos, yr hyn a ddyry fantais arall i'r derbynwyr i ddyblu eu rhif. Dysgwyliwn atebiad yn ddioed erbyn ein nesaf.

---

## Y FLWYDDYN NEWYDD.

*(Allan o'r "Star.")*

CYN y cyrhaeddo ein rhifyn presennol o'r "*Sren*" ei sefyllfa osodedig yn y ffurfafen foesol, bydd y Flwyddyn Newydd wedi gwawrio ar ein darllenwyr. Mae y planedau cylchdro-

edig yn eu cyssylltiad â'u gilydd yn brysio cyflawniad y prophwydoliaethau sydd yn perthyn i adeiladaeth a phrynedigaeth Seion, ac ymddanghosiad yr Arglwydd yn ei ogoniant.

Tueddbena yr holl hunan-ymwadiad, erlidigaethau, ymdeithiau, gweddiau, caledion, aberthau, degymau, cyssegriadau, cynnysgaeddiadau, ac mewn gair holl ymdrechiadau y Saint ffyddlon yn y cyflawniad o hyn. Cymhella wasgfeuon allanol y byd y Saint i ffyddlondeb, ac i gynnyddu eu cymdeithas gyda Duw, fel y caffont ei Ysbryd Ef, yr hwn a'u galluoga i sefyll, tra yr ysgubir ymaith gydag ymguddfan celwydd bawb nad ydynt seiliedig ar graig dadguddiad, gan y dysclaerdeb a ragflaena ddyfodiad Crist, gyda'r Saint gogoneddedig, i deyrnasu ar y ddaear. Yn ystod pob Blwyddyn olynol cynnyddir y gwrthdarawiad sydd rhwng ffyrdd Duw a dyn yn rhyfeddol, a gofyna i'r cyfiawnion frysio tuag ystafelloedd yr Arglwydd, os ymgysgodant rhag ystorom ei ddigofaint Ef. Gwybydda y rhai a gysgant tra ar eu gwyliadwraeth, fod y Priod-fab wedi myned i mewn, a'r drws wedi ei gau. Y rhai a rodiant yn y tywyllwch ganol dydd a brofant, pan ddêl y nos, nad oes olew Duw ganddynt yn eu lampau, tra nad oes amser yn hwy i fyned a phrynu. Y doeth a ddealla, ac yn llon y rhodda yr oll a fedda am y maes a gynnwysa y perl, a chloddia yn ddiflin nes ei gael. Yn amlycach o hyd gwelir mai y ffordd i fywydau tragywyddol yw y ffordd sydd yn dod i fyny o'r cystudd mawr, ac yn dwyn i'w thramwywyr burdeb a glanweidd-dra gerbron Duw.

Y rhai a newynant ac a sychedant am gyfiawnder a weithiant eu ffordd yn mlaen, o'r flwyddyn newydd allan, gyda sêl adnewyddol, hyd nes eu llenwir â chyflawnder heddwch a gwirionedd, ac y digonir eu heneidiau â daioni Duw. Er cael hyny, rhaid iddynt gadw eu hwynebau fel y gallestr tua Seion, gan herio pob gwrthwynebiad, hyd nes yn nhŷ yr Arglwydd y dysgant ei ffyrdd, ac y dechreuant rodio yn berffeithiach yn ei lwybrau Ef.

Y mae Seion yn ymestyn ei chortynau ac yn cryfhau ei hestynfeydd, a chysura y rhai nad allant ond ymgasglu mewn rhan, i wybod y gallant aros yn un o'i hestynfeydd hyd oni allant gychwyn i Fynydd Tŷ yr Arglwydd.

Fel yr ymddengys tân wedi ei gynneu yn fychan, ac na rodda

ond ychydig gynhesrwydd o bell, tra yn union ar ei bwys y y dichon ei ddylanwad fod yn annyoddefol, felly yr ymddengys y tân a gynnenodd yr Arglwydd ar y ddaear yn fwyaf dymunol i'r ffyddloniaid yn yr Ynysoedd Prydeinig, a gwledydd pellenig ereill; agoshâd graddol a alluoga lawer i oddef ei ddylanwadau toddawl ac ymestynawl, yn well na throsglwyddiad rhy gyflym o'u cyflwr gwreiddiol. Y byddai Ef yn lanhauwr a phurwr ei bobl megys arian, oedd addewid Duw; ac i'r dyben hyn mae y Saint yn ymneillduo oddiwrth y byd, ac yn ymgasglu ynghyd fel eu profir megys aur, saith gwaith trwy dân. Ond och! gynnifer sydd yn cilio yn ol o'r ffwrnais, a'u rhinweddau a'u drygau yn anymranedig o hyd, ac heb eu puro; i'r gwrthwyneb, y maent yn galetach, ac o ganlyniad yn anmheilyngach nag o'r blaen i ddybenion dewisol y nefoedd. Pa welliant mae y Saint drwy yr holl fyd wedi wneyd yn y flwyddyn fynedol?

Gair yr Arglwydd yw i ymgasglu, a thra yr ymlosga ysbryd ymgasglu o'n mewn, gwyddom hefyd ei fod yn llanw mynwesau miloedd o'r Saint. Teimlwn fod yr Arglwydd yn wir wedi gwrandaw llef y rhai gormesedig o'i bobl, a'i fod yn agor y drysau i'w gwaredigaeth. Ymnesaodd yr amser yn nes i ymgasglu gallu Tŷ yr Arglwydd yn rhwymau y cyfammod tragywyddol, dyledion yr Offeiriadaeth, a gallu undebaidd Glân Ysbryd yr Addewid, fel y gorchfygir galluoedd y tywyllwch, y dinystrir y drygionus, ac y rhwymir Satan hyd oni chwblheir amcanion yr Arglwydd.

Po gyntaf y gweithreda yr holl Saint yn ol y gorchymyn hwn, ac yn ol pob gorchymyn arall, po rhwyddaf yr agorant gyfeillach â'r nefoedd, ac â byd yr ysbrydoedd, hyd nes y mwynhâ pawb a ddewisant orfoleddau bywyd tragywyddol, o Adda i waered hyd yr etifeddion diweddaf o farwoldeb ag a gânt y fraint o weithio allan eu hiachawdwriaeth ar y ddaear hon.

Gwyr y Saint, drwy dystiolaeth yr Ysbryd o'u mhewn, mai yr Americ yw y wlad lle y sefydlir teyrnas Dduw yn gyntaf, lle yr adeiladir tŷ yr Arglwydd, ac y chwifir baner i'r cenedloedd, a lle yr arddanghosir dylanwad gweithredawl, cymdeithasol, a gwladwriaethol ei Deyrnas Ef yn nghyntaf.

Dichon y gofynir,—A oes eisieu cymhell y Saint i adael y

wlad hon? Nac oes ar lawer o honynt, eithr yn hytrach mae eisieu tymheru eu hawydd â barn a doethineb, fel na fethont, trwy ormod o frys, i gyflawni yr hyn a chwennychant mor fawr. Y mae rhai a allent, pe buasent wedi myfyrio ychydig yn fwy ar drefn bywiolaeth, a pheidio gwario eu moddion, pan y bendithiodd yr Arglwydd hwynt, i geisio byw yn gydradd a'u cymmydogion na adnabyddasant fendithion yr Efengyl, eithr a lafuriant i foddhau balchder y byd hwn, fod yn Seion er ys hir amser yn mwynhau ei bendithion a'i breintiau.

Bron mewn cyssylltiad â'r dosparth hwn y mae dosparth arall o Saint, a deimlant mai anmhosibl yw myned hyd nes y meddianno y gwr gyflawnder digonol o ddillad, y wraig ychydig ychwaneg o wisgoedd hardd, a rhaid iddynt gael pethau blasus i'w gwneyd yn gysurus. Dengys y fath bersonau ar unwaith nad oes ganddynt ond ychydig ymddiried ynddynt eu hunain, na ffydd yn Nuw a'i waith ychwaith. Os erfyniant gael bob amser ddillad gwych a phethau cysurus ar hyd ffordd yr iachawdwriaeth, gwell yw iddynt aros lle y maent, canys fe â gwaith yr Arglwydd yn mlaen cystal, ac efallai, ychydig yn well hebddynt nag â hwynt. Os na chyfod y fath bersonau yn enw yr Arglwydd, ac ymysgwyd eu hunain, ni chânt byth ddigon o ffydd ac ymdrech i gyrhaedd ond iachawdwriaeth fychan iawn. Tra yr arosant ac y pendrwmant, derbynia y diwyd eu bendithion. Mae y ffordd i Seion yn myned yn anhawddach, a chyn y byddont hwy yn ddigon hysbys o hyny bydd y drws yn nghau, a hwythau yn rhy hwyr.

*Cyf.* Wm. Lewis.

---

## GALWAD AM WIRFODDOLIAID!

Hysbyswn y swyddwyr yn myddin yr Iesu ein bod yn curo i fyny am *wirfoddoliaid* yn awr, i ymbarotoi erbyn yr agoro y tymmor rhyfelawg yn y gwanwyn, i ymosod ar greulonach gelyn nag yw Nicholas o Rwsia, o gymmaint ag yw marwolaeth dragywyddol yr enaid yn waeth nâ marwolaeth y corff. Mae mawr anghen amryw gatrawdau o ddewrion i fyned i'r maes; am hyny, rhybyddiwn holl filwyr ffyddlon Brenin y breninoedd i wisgo am danynt, yn y cyfamser, holl arfogaeth yr efengyl,

fel y byddont yn rymus wyr, trwy gleddyf dau-finiog ei Ysbryd Ef, i dynu cestyll o draddodiadau andwyol y llall i lawr, a gosod banerau efengyl Crist i chwifio yn holl ardaloedd Cymru. Tra y mae yr holl fyd braidd yn galw am wirfoddoliaid i faes y frwydr i ladd eu cyd-ddynion, y mae *Udgorn* yr efengyl yn galw am *wirfoddoliaid* hefyd i fyned allan yn fyddinoedd i achub bywydau dynion drwy eu heddychu â Brenin yr hêdd, a chaei maddeuant pechodau yn rhâd! Frodyr! ieuainc yn neillduol—pwy a aiff? Beth meddwch? "Pwy a â, pwy a â?"

Pleser ydyw hysbysu fod genym un Llywydd eisoes, sef J. Richards, yn ymbarotoi i'r frwydr, a rhoddwn gommisiwn iddo i godi byddin mor liosog a all o filwyr dewr a elant gydag Ef, ac, yn enw ein Brenin dywedwn, rhwydd hynt iddo! Hefyd, y mae genym enwau swyddwyr selog a phrofiadol, sef John Roberts, Jeremiah Jeremiah, a Dafydd Lewis o Gwm-ynys-y-fuwch, y rhai ydynt wedi enlistio i'r gatrawd ogleddol, ac yn parotoi erbyn y gwanwyn! Frodyr! ymdrechwch gael catrawd llawn o ddynion ffyddlon i gynnorthwyo Saint Gwynedd eleni etto, fel y caffo yr efengyl ei swnio o Fenni i Fôn, yn fuddugoliaethus ar yr holl gamgyhuddiadau, a'r gau draddodiadau a'u gwrthwynebant hi. Dysgwyliwn boethach *Campaign* yn yr hâf nesaf nag a fu hyd yn hyn, a galwn am enwau y gwirfoddoliaid mor gynted ag y gallont eu danfon o hyn hyd yr amser hyny. Rhyfel yw y rhyfel hwn sydd *raid* ei ymladd; canys mae y Brenin ar ddyfod, i'r Hwn y rhaid i bob glin blygu, ac y rhaid i bob tafod gyffesu; dedwydd yw yr hwn a deilynga ei goroni ganddo Ef â choron annifianedig y bywyd! Wele gyfle i bawb ei chael! Pwy a filwria am dani?

---

## ENGLYNION.—HIRAETH AM SEION.

Fy mron am Seion y sydd—,dan ofid<br>
Annifyr yn uswydd,<br>
Aml dro anobeithio bydd,<br>
I weled ei heolydd.

Braidd ag wylo'n brudd galon—yn dra blin,<br>
Tan dryblith dych'mygion,<br>
A'r wedd yn dwyn arwyddion<br>
O erchyll frwd archoll y fron.

Poen gaeth pwn yw gweithio,—a phoenus
'Run ffunud gorphwyso;
'N fynych pan âf i huno,
Arwain cur fydd rhan y co'.

Bob noswyl, dysgwyl y daw—o'r rhengoedd,
Ryw angel i'm ceisiaw,
I roi un drem ar y Dyffryn draw,
Mewn hoen a mi'n hunaw.

Wedi hyny dihunaf—ydd ageg,
'Mreuddwydion adgofiaf,
Rhin na ched o rhai'n ni chaf,
Yn y Deml poen a deimlaf.

Taer geisiais un tro o gysur—ei weled,
Dysgwyliais mewn llafur;
Pan nad oes serch cwpanaid sur,
Yn coffa fydd pob cyffyr.

Rhin y serch o'r ynys hon—ehedodd,
Ryw adeg i Seion;
Fy hynaws serch ni fŷn sôn,
Am aros rhwng creigiau Meirion.

'N dlawd fy nynsawd y sydd.—Ow! adyn
Rhwymedig yr Dafydd;
Byw erch heb serch y sydd,
Bod ag enw byw digynnydd.

Diwyr hanes, ond er hyny,—mae genyf
I'm cynnal i fyny,
Wybodaeth y cowaeth cu,
Dug wawl i'm diogelu.

Mawr ydyw, dyma'r adeg,—a'm daliodd
O'm duloes yn ddifreg,
O fewn y dyn mae'n sylfaen deg,
O! nefol ragorol garreg.

Dyma anferth nerth yn wir.—ei rhinwedd
I'r enaid ganmolir;
Dwyn 'wyllys dan iau ellir,
I 'wyllys hon a'i lles hir.

A hon genyf ni wnaf gwyno,—Iesu
Arosaf i weithio;
Aml waeddaf, pâr im' lwyddo,
Amen fyth mwy, hyny fo.

DAVID ROBERTS.

## AMRYWIAETHAU, &c.

YCHWANEG O HANES Y SAINT YN Y RHYFEL.—Mae un o'r brodyr yn y rhyfel wedi ei ladd, a thri wedi eu clwyfo, eithr nid i farwolaeth. Nis gallant gyfarfod na gweled eu gilydd ond anaml. Ni feiddiant sôn am y Saint, gan na chlywir gair am amser wed'yn gan gabledd, rhegfeydd, a llwon ofnadwy y milwyr. Hiraethant am waredigaeth i dir heddychol Seion, lle y cânt gyfarfod eu brodyr yn Nheml yr Arglwydd heb neb i'w hattal. Dysgwyliwn ninnau am yr un fraint, a gweithiwn am dani tra mae hi yn ddydd, canys mae y nos yn dyfod pan na ddichon neb weithio.

PENNILL.

Pan omedd Sant i wneyd ei waith,
Medd galon drist ac enaid caeth,—
Wrth gofio barn a dydd y llid
Ei gliniau wnant ymguro'n nghyd:
Ond am yr hwn sy'n ffyddlon wneyd,
Yn hollol fel mae Duw yn dweyd,—
Medd deimlad rhydd a chalon lon,
Mae heddwch Nêr yn llanw 'i fron.

T. HARRIES.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O RHAG. 28 HYD RHAG. 31.—Griffith Roberts, £1; Jonathan Ellis, £1 10s; D. E. Jones, £30; C. Harmon, £12 12s 2½c; W. Jones, 18s 11c; G. W. Davies, £20; Edward Middleton, £15 18s 10¾c; John Davies, £1 16s.

GWELLIANT GWALL.—Yn y rhifyn blaenorol darllener G. W. Davies, £10, *yn lle* £15.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones*, "*Udgorn Seion*" *Office*, *Swansea*.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 2.] IONAWR 20, 1855. [CYF. VIII.

## ARAETH GAN Y LLYWYDD B. YOUNG.

*A draddodwyd yn y Tabernacl, D. Ll. H. Mawr, Chwefror 20, 1853, yn y prydnawn.*

GWIR ddedwydd yw y dyn hwnw, y fenyw hono, neu y bobl hyny ag ydynt yn mwynhau breintiau Efengyl Mab Duw, ac a wyddant pa fodd i werthfawrogi ei bendithion hi. Pwy yw y person hwnw, neu y bobl hyny? Parod ydym i ateb, mai "Saint y Dyddiau Diweddaf" ydynt yr unig bobl ar y ddaear, ag sydd gyda ni unrhyw wybodaeth am danynt, i ba rai y rhoddwyd yr Efengyl dragywyddol yn y dyddiau diweddaf hyn; hwynthwy yw yr unig bobl a'i hetifeddant hi, ynghyd a'i holl fendithion a'i breintiau. Nid yw yn wybodus i ni y mwynhâ unrhyw bobl ereill ar wyneb y bellen yma y fendith anmhrisiadwy hon. Gwir yw y mwynhâ holl ddynolryw, i ryw raddau, ei dylanwad; sef ymddangosiadau awdwr, perchenog, a rhoddwr Efengyl y bywyd ac iachawdwriaeth i ddyn syrthiedig.

Mwynhäodd holl hil Adda, o'i ddydd ef hyd hwn, i raddau mwy neu lai, oleuni, gogoniant, ac amlygiadau goleuni gwynebpryd yr Arglwydd. Eithr ni fwynhasant, bob amser, yr Efengyl gyda'i hordinhadau, ei bendithion a'i breintiau. Dyma yr unig bobl a fwynhânt yn awr y fath anrhegion nodedig. Y mae yr Offeiriadaeth wedi bod ar y ddaear o bryd i bryd, a theyrnas Dduw wedi ei chorfoli i ryw raddau; ond nyni a



[PRIS 1*g*.

allwn ddweyd yn sicr, hwn yw amser yr amserau; yr ydym yn byw yn niwrnod y diwrnodau; yr ydym yn mwynhau bendithion y bendigedigion; a chyflwynir i ni, yn nghyflawnder yr amseroedd, freintiau a ragorant ar bob breintiau a roddwyd hyd yn hyn i ddynol ryw.

Yn yr oruchwyliaeth hon ceaglir pob peth yn un, ac er mor ddyeithr a rhyfeddol y dichon hyn ymddangos i'r byd, dyma y bobl offerynol yn llaw Duw i'w dwyn i ben. Gwirionedd yw hwn nad all un wrth-resymeg ei wrth-brofi yn llwyddiannus. Nid oes wahaniaeth pa faint ei caseir, ei herlidir, neu ei dibrisir fel gwaith gwael, dibwys, a phlentynaidd, un gwirioneddol yw, a pharhâ; teyrnas Dduw ar y ddaear yw. Yma mae cynllun yr iachawdwriaeth, yma mae geiriau y bywyd, yma mae goleuni tragywyddoldeb, yma mae yr hysbysrwydd a hyfforddа freninoedd, ac a gyfrana farn i lywodraethwyr. Fe'i cynnwysir yma yn nghanol y bobl hyn, ac oddiwrthynt hwy yr ymledaenodd pelydrau y nefol oleuni, doethineb a gwybodaeth ar hyd y ddaear lydan, a thywalltwyd Ysbryd yr Arglwydd yr hwn sydd yn llanw anfeidroldeb ar ei gwyneb, gan roddi goleuni i bob dyn a benyw ar sydd yn dyfod i'r byd hwn.

Frodyr a chwiorydd, a allwn ni ganfod ei fawredd? Cynhyrfwch y cynneddfau meddyliol ac ymresymiadol â pha rai eich cynnysgaeithwyd; ymresymwch ar eich profiad mynedol yn yr eglwys hon, ac yna ymofynwch a ydych mor ddedwydd ag y dysgwyliasoch fod; os derbyniasoch yr hyn a geisiasoch; os ydych wedi mwynhau yr hyn oedd i chwi unwaith yn y dyfodol? A pha beth a fyddai eich rhesymol benderfyniadau? Pa beth a ddywedai barn ddeallus wrthych? Pa beth a benderfynai Ysbryd y gwirionedd? Mai yma y mae pelydrau goleuni pur; — yma y mae nefoedd ar y ddaear; ac nid oes un wrth-resymeg, na dealltwriaeth, nac un dylanwad o eiddo daear nac uffern wedi eu cyssylltu a all ei wrth-brofi, na dwyn un resymeg dda i'r gwrthwyneb.

Gellwch esgyn wed'yn at y galluoedd goruchaf, ac ymofyn â'r ddealltwriaeth a leinw fynwes tragywyddoldeb; gellwch ymofyn â Chreawdwr, Corffolwr, a Chynnaliwr y bydyssawd, ein Tad sydd yn y nefoedd, gellwch gymdeithasu â'r osgordd ogoneddus o Saint, angylion, a merthyron, ac ysbrydion dynion cyfiawn wedi eu perffeithio, a thystiant megys ag un llais

am wirionedd y gwaith hwn, â pha un yr ydym ni yn ymwneyd.

O'r ochr arall, nid dim yn llai nâ gallu yr Hollalluog, dim yn llai nâ Glân Ysbryd Iesu Grist a brofa i chwi mai hwn ydyw gwaith Duw. Nis gall dynion anysbrydoledig gan Dduw trwy eu doethineb ddynol ei wrth-brofi, na llwyddo yn ei erbyn. Nis gallant ychwaith, trwy eu doethineb yn unig, ei brofi yn wirionedd iddynt eu hunain, nac i ereill ychwaith.—Nid yw eu hanalluogrwydd i'w gorthrechu yn ei phrofi yn Deyrnas i Dduw; canys y mae llawer o ddysgedigaethau a chyfundraethau ar y ddaear na ammheuir gan ddoethineb y byd, eithr ydynt gyfeiliornus er hyny. Ni all dim yn fyr o allu yr Hollalluog yn goleuo dealltwriaethau dynion egluro y gwirionedd gogoneddus hwn i'r meddwl dynol.

Pan yr oeddych yn eich cartrefleoedd genedigol yn yr hen wledydd ac yn y Taleithiau, cyn y casglasoch gyda phobl Dduw, pa beth oedd eich meddyliau a'ch dysgwyliadau pan yr edrychech yn mlaen ar eich corffoliad gyda'r Saint. Pa beth oedd gweledigaeth eich meddwl, a gweithrediad yr Ysbryd ar eich dealltwriaeth? Pan yr oeddech wedi casglu gyda Saint y Goruchaf, ac wedi cyssylltu fel brawd, chwaer, a chymmydog, gyda'r gymdeithas fendigedig hon, dysgwyliasoch ymddangosiadau yr Arglwydd Iesu Grist; i rodio yn ngoleuni ei wynebpryd, a thrwy allu yr Ysbryd Glân, fod i oraclau y gwirionedd gael eu dadguddio i chwi yn barhaus; y byddech yn y nefoedd yn Seion yr Arglwydd.

Y rhai hyn oeddynt eich dysgwyliadau. Ni ddysgwyliasoch glywed enw y Duw a addolwn yn cael ei gablu o'r boreu hyd yr hwyr. Dysgwyliasoch gael eich gwaredu o glywed cableddau eich cydweithwyr drygionus; oddiwrth ormes eich gwaithfeistri annuwiol, ac oddiwrth erlidigaethau y crefyddwyr penboeth, y rhai oeddynt undebol i'ch dryllio yn ddarnau, a'ch dinystrio yn dymmorol ac yn ysbrydol, pe yn bosibl. Ar y naill ochr eich cneifiwyd, ac ar y llall eich eilliwyd.

Aflonyddwyd chwi gan ymadroddion annuwiol a gweithredoedd ffiaidd eich cymmydogion. Distrywyd eich heddwch, ac ni allasech fwynhau y dedwyddwch hwnw a'ch cyrhaedda yn yr efengyl. Etto teimlasoch ddylanwad Ysbryd y Gwirionedd yn llosgi yn eich calonau, yr hwn a gynneuodd ynoch ddymun-

iad hiraethus am gymmysgu â'r Saint. Llefech, "O na allwn fwynhau cymdeithas y Saint, a dianc o'r lle annuwiol hwn. O na bai genyf fodd i grynhoi fy nheulu bychan, ac i ymdeithio i ymgasgl-fan Saint y Goruchaf"

Dyna oedd eich teimlad a'ch gweddi. Dysgwyliasoch waredigaeth o uffern, i gael nefoedd gyda'r Saint; i gyfnewid aflunieiddiwch am Seion o drefnusrwydd ac o harddwch; poenedigaeth am heddwch a dedwyddwch; cabledd a chythrwfl am lonyddwch a pharch i enw Duw; a newyn am ddigonedd. Mewn gair, dysgwyliasoch gael man lle y byddai pob drygioni wedi darfod, a thristwch ac anwiredd wedi terfynu; a lle yr ymddigrifech heb eich haflonyddu yn ngwenau gwynebpryd eich Harglwydd o ddydd i ddydd. Meddyliaf fy mod wedi rhoddi darluniad cywir o ddysgwyliadau y mwyafrif o'r bobl hyn cyn eu casglu i gorff yr Eglwys.

Yn awr frodyr a chwiorydd, pa beth sydd yn eich rhwystro rhag mwynhau yr oll a ddysgwyliasoch? Rhodda adfyfyriadau pwyllog o'ch meddyliau eich hunain, a phenderfyniadau barn gydmariaethol, yn oleuedig gan Ysbryd yr Arglwydd, atebiad iawn i'r gofyniad hwn. Gallaf ei ateb droswyf fy hun, ac efallai dros lawer o honoch chwi.

Os nad ydwyf yn mwynhau yr oll a ddysgwyliais; os nad yw fy nedwyddwch mor gyflawn ag y dysgwyliais; os nad yw goleuni yr Ysbryd Glân yn fy nghalon i'r graddau a feddyliais; os na chefais yr oll a ddysgwyliais pan yr oeddwn i lawr yn y byd draw yn gymmysgedig â'r drygionus, *mae yr achos ynwyf fy hun*,—yn fy nghalon fy hun,—yn fy nhueddfryd fy hun,—yn ngwendid y natur ddynol; fy ewyllys fy hun sydd yn fy rhwystro rhag mwynhau yr oll, a mwy nag a ddysgwyliais. Meddylddrych anghywir ydyw tybied y dichon ereill fy rhwystro i rhag mwynhau o oleuni Duw yn fy enaid; nis gall holl uffern fy rhwystro rhag mwynhau Seion yn fy nghalon i fy hun, os fy ewyllys yn bersonol a ddyry ufydd-dod i ofyniadau a gorchymynion fy nefol Feistr. Mae Efe wedi gosod cynllun o fy mlaen, yr hwn, os gwnaf yn ei ol a ddwg i mi gymmaint a mwy o nefoedd yn fy nghalon nag a allwn ddysgwyl. Dyna fy atebiad.

Gofynodd y Brawd Erastus ofyniad, h.y., "Os dryga fy nghymmydog fi, a oes gorfodaeth arnaf drwy hyny i ddrygu

fy nghymmydog nesaf?" Dywedaf nac oes. Os sarna frawd fy ŷd sydd yn addfedu yn y maes, a orfodir fi drwy hyny i redeg trwy a sarnu eich eiddo chwi? Na wneir. Pan ladratao person fy mholion o'r clawdd, a raid i minnau ddwyn eich polion chwi? Os fy nghymmydog neu fy mrawd yn yr Eglwys a dwng, ac a gymmer enw Duw yn ofer, a ganlyna o anghenrhaid fod yn rhaid i minnau ddefnyddio yr un iaith? Os fy mrawd a wna yn ddrwg mewn unrhyw ffordd, ni chanlyna i'm cyfiawnhau i mewn un drwg unigol yn holl weithredoedd fy mywyd.

Chwilied pob Sant y dyddiau diweddaf ei hun, ac ymholed, " A ydwyf fi yn un o'r personau hyny a wnant yn iawn yn mhob peth, er y dichon ereill wneyd yn ddrwg.—A ydwyf fi y person a wasanaethaf yr Arglwydd ynghyd a'm tŷ?—A adawaf fi bob gweithred ddrwg, a phob gair drwg, er y dichon fy nghymmydog, neu fy mrodyr a'm chwiorydd wneyd yn groes?" Gadewch i'r ysbryd sydd o'ch mewn ateb y gofyniadau hyn, ac yn mhob mynwes yr atebiad yw, " bydded i mi fod y person hwnw; bydded i mi wneuthur yn iawn o'r amser hwn allan ac yn dragywydd, heb gyflawni drwg arall." Yna pa beth sydd genych? Mae nefoedd genych yn eich mynwesau eich hunain; y mae Seion genych yn eich calonau; yr ydych wedi cael yr holl ogoniant, yr holl heddwch, yr holl lawenydd, yr holl gysur, a'r holl oleuni a ddysgwyliasoch pan yn gymmysgedig a'r byd drygionus. Os twyllir chwi, pwy a'ch twylla? Os cam-drinir chwi, pwy a'ch cam-drinia? Os hudir chwi o'ch coron yn y diwedd, pwy a'ch twyllodd?

Gellir cymhwyso y gofyniadau hyn mewn gwahanol ffyrdd; gellir eu cymhwyso at weithrediadau masnachol y byd, yn ogystal ag i râs Duw yn y galon, ac iachawdwriaeth yr enaid; i'r diweddaf yn fwyaf neillduol y dymunaf eu cymhwyso. Pwy sydd a dylanwad dros un o honoch er achosi i chwi fethu cyrhaedd iachawdwriaeth yn nefol deyrnas Dduw? Atebaf y gofyniadau hyn fy hun. Os cymmer y Brawd Brigham a myfi lwybr cyfeiliornus, a chael o honom ein cau allan o deyrnas nefoedd, ni feuir neb ond y Brawd Brigham a minnau. Myfi yw yr unig fôd yn y nefoedd, ar y ddaear, neu yn uffern a ellir ei feio. Cymhwysa hyn at bob Sant y Dyddiau Diweddaf.

Gwaith personol yw iachawdwriaeth, myfi yw yr unig berson

a ddichon achub fy hun. Pan ddanfonir iachawdwriaeth ataf, gallaf ei derbyn neu ei gwrthod. Wrth ei derbyn rhoddaf ufydd-dod ac ymostyngiad gwirfoddol i'w Hawdwr mawr, trwy fy holl fywyd, ac i'r rhai hyny a benoda Efe i'm hyfforddi. Wrth ei gwrthod byddaf yn dilyn tueddiadau fy ewyllys fy hun yn hytrach nag ewyllys fy Nghreawdwr. Y mae y cyfryw yn mhlith y bobl hyn ag y dylanwadir, y llywodraethir, ac y tueddir eu mheddyliau, eu gweithredoedd a'u teimladau gan ryw berson neu deulu, ar ba rai yr ymddibynant am addysgiadau tymmorol ac ysbrydol, ac iachawdwriaeth yn y diwedd. Nid ymddibyna y bobl hyny arnynt eu hunain am iachawdwriaeth, eithr ar un tlawd a gwan arall o'u cyd-farwolion. "Nid wyf yn ymddibynu ar un daioni o'm heiddo fy hu meddant, "i'm harwain i mewn i deyrnas y gogoniant, eithr arnoch chwi frawd Joseph, arnoch chwi frawd Brigham, arnoch chwi frawd Heber, neu arnoch chwi frawd James. Credaf fod eich dealltwriaeth goruwch i'm heiddo i, ac o ganlyniad gadawaf i chwi farnu droswyf; mae eich ysbryd chwi yn well nâ fy ysbryd i; am hyny gallwch fy llesoli; ymostyngaf fy hun yn hollol i chwi, a gosodaf ynoch fy holl ymddiried am fywyd ac iachawdwriaeth; lle yr ewch chwi yr âf innau, a lle yr aroswch chwi, yno yr arosaf innau, gan ddysgwyl yr arweiniwch fi i mewn trwy y pyrth i'r Jerusalem nefol.

(*I'w barhau.*)

*Cyf.* William Lewis.

---

## CYFARWYDDIADAU AR YR YMFUDIAD.

(*Allan o'r "Millennial Star."*)

Bydd yr Ymfudiad oddiyma i Utah eleni, drwy Philadelphia a Cincinnatti i St. Louis, ac oddiyno fe'i harolygir gan y Llywydd Erastus Snow. Yr amser i gychwyn fydd Chwefror a Mawrth, a meddylir mai tua dau fis fydd amser y daith i St. Louis drwy y ffordd hon, yn lle deg wythnos fel drwy Orleans Newydd.

Cyn belled ag y deallwn, ni wahaniaetha pris y cludiad i Philadelphia ond ychydig oddiwrth bris y cludiad i Orleans Newydd. Oddiyno i Cincinnatti bydd yn £1 10s; i St. Louis

£2 2s—os bydd ymfudwyr yn gwmnioedd, ac yn cael y fantais o wneyd cytundeb; eithr mewn dygwyddiad o bersonau, neu deulu, bydd yn debyg o fod amryw sylltau yn ychwaneg. Costia o St. Louis i'r Wersyllfan tua £1. Nid yw hyn ond cyfrifiad amcanol o'r prisiau, ac ni chynnwysa y lluniaeth.

Gellir cael waggeni da, wedi eu gwneyd i'r pwrpas, yn y cychwyn-le, a gwerthir y rhai cyflawn, sydd a dolau *(bows)* ac estyniadau, am 70 o ddollars (tua £14 10s); heb ddolau ac estyniadau, 67 o ddollars (£13 17s 6c).

Costia waggen a dwy iau dda o ychain, ynghyd a'r ieuau a'r cadwynau £50. Efallai y rhoddir dwy fuwch i mewn am £55.

Diwellir â defnydd pebyll a waggeni genym ni. Gofyna 54 o latheni i wneyd pabell, a 26 i doi waggen. Mae y defnydd yn 6¾c y llath, a rhoddir ef i'r prynwyr wrth fyned i'r llong yn Lerpwl.

Ni chostia cludiad drwy y ffordd newydd lai na £15, ac efallai £16, ond ni a gymmerwn at ymfudo y cyfryw a dâl £12, *os mai hyny fydd yr oll a fedda*, y gweddill i gael ei dalu yn Utah.

Dylai yr ymfudwyr hyny a ddymunant i mi eu diwallu â gwêdd a waggen, da, pabell, neu dô wagen, anfon yr arian at hyny i mi yn union pan y penderfynant ymfudo.

Dylai gawb a benderfynant groesi y gwastadedd y tymmor hwn, pa un a'i gyda'r cwmni £15, neu trwy dalu £12, anfon i mi yn ddioed £9 yr un, i'm galluogi i barotoi eu gweddeuau, waggeni, &c., ac fel y gwneler y parotoadau cyflymaf yma ac yn St. Louis tuag at iawn gyflawniad o lafur-waith mawr yr ymfudiad presennol. Taler y blaen dâl o £1 fel arferol, gyda y £9.

Gall y rhai nad ydynt yn barod i fabwysiadu y naill na'r llall o'r cynlluniau uchod fyned i St. Louis, Cincinnatti, neu Philadelphia, fel y caniatâ eu meddiannau.

Dylai pawb o Saint y Dyddiau Diweddaf a feddant fwy na digon i dalu eu cludiad i'r lle yr ânt, dalu eu Degwm cyn ymadael o'r wlad hon.

Ymfuda y Gymdeithas Ymfudol Barhaus o hyn allan y dosparthiadau o Ymfudwyr a dalant £10 a £13, ac felly sicrheir iddynt hwythau fanteision a darpariadau y Gymdeithas. Os na chostia y cludiad i'r Dyffryn fwy na £15, bydd y rhai a dalasant hyny yn rhydd o ddyled pan y cyrhaeddant yno; ac os na chostia hyny ad-delir y gweddill yn ol iddynt ar ben eu taith mor fuan ag y gellir deall pa faint a gostia y cludiad. Dysgwylir i'r trefn-

iad hwn, nid yn unig hwyluso y daith dros y tir, eithr dros y môr a'r afonydd hefyd. Teimla y Saint yn fwy boddlongar wrth ymddiried holl ofal eu cludiad i ddoeth drefniadau y G. Y. Barhaus. Gofynir £9 yr un am fabanod cyn cychwyn o Lerpwl, ac ystyrir hwynt yn un yn rhif cwmni y waggen. Ystyria y cwmni fod un waggen, dwy iau o ychain, a dwy fuwch, ynghyd a phabell yn ddigonol i gludo deg o bersonau, eu dillad, a'u lluniaeth.

Gall ymfudwyr ereill i Utah, na ddewisant ymfudo dan nawdd y Gymdeithas wneuthur pob darpariadau oddieithr lluniaeth drwyddom ni. Dylid anfon gorchymynion am waggen, &c., ac arian yn gyferbyniol i'r hyn a ymofynir i ni yn ddioed, a chaiff y cyfryw ddangoseg oddiwrthym ni, at ein Swyddog yn St. Louis.

Anfoned pob ymfudwr i ni y manolion canlynol—eu henwau, oedran, galwedigaethau, a'u genedigol wlad.

Gall ymfudwyr i'r Unol Daleithiau yn unig ymfudo yr amser a ddewisont, gan y bwriadwn anfon llong yno pa amser bynag y bydd galwad digonol; ni ofynir ganddynt hwy ond yn unig £l o flaen dâl.

Dylai y rhai ag ydynt am brynu gweddeuau, &c., anfon eu harian gyda eu blaen dâl o £l, a'u henwau, &c; os bydd hyny yn anmhosibl ar y pryd, hysbysant y dydd y gallant, ac y gwnant anfon yr arian fel y byddo eu gweddeuau, &c., yn barod.

Hysbysed yr ymgeiswyr yr amser y dymunant ymfudo, ac ymdrechwn eu cymhwysnasu hyd y gallom; a phan byddom barod, hysbyswn hwynt pa amser i hwylio, a pha bryd i fod yn Lerpwl.

Ymbarotoed y sawl a rybuddiwyd genym ni fod y G. Y. Barhaus wedi anfon am danynt o'r Dyffryn, gogyfer â galwad byrbwyll os bydd raid.

FRANKLIN D. RICHARDS.

---

[Nid angenrheidiol i ni ychwanegu ar y cyfarwyddiadau eglur blaenorol, ond galw sylw manylaf Llywyddion y Cynnadleddau Cymreig i ymddwyn yn eu hol.

Dymunwn ar Lywyddion Cynnadleddau anfon gwybodaeth i ni yn ddioed pa sawl un sydd yn eu Cynnadleddau a ddymunant anrhegu y G. Y. Barhaus â £10 ar yr ammod o gael eu hymfudo eleni, drwy ymrwymo wrth gychwyn i dalu yn ol i'r Gymdeithas gyflawn bris eu cludiad.—GOL. YR UDGORN.]

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

DYDD SADWRN, IONAWR 20, 1855.

ANNERCHIAD AT LYWYDDION Y CYNNADLEDDAU CYMREIG. —Anwylaf gyd-lafurwyr yn ngwinllan yr Iesu,—Cymhellir ni gan yr Ysbryd sydd ynom, yr hwn a brawf rym y cyfammod a'n rhwyma ni yn un, yr hwn a bortreada i'n dealltwriaeth bwysigrwydd ein gwaith, a'r hwn a leinw ein henaid ag awydd i achub dynion i deyrnas ein Duw er mawl iddo Ef; yr Ysbryd hwn a'n hannoga—a'n gorfoda i gyffroi eich meddyliau puraidd y waith hon etto at y dyledswyddau canlynol a orphwysant ar ein hysgwyddau ni oll i'w cyflawni.

Creded ein cyd-oeswyr a gredont am danom; diystyred hunan-ddoethion ein hymdrechiadau hyd y mynont; a chondemnied byd ein tystiolaeth a'm haerllugrwydd os dewisant; ni wna nemawr wahaniaeth, canys. i ni mae yn ffaith, ydyw y mae yn *ffaith ddwyfol brofedig* fod y Duw Hollalluog wedi ymddiried i ni ran o'r oruchwyliaeth olaf, hynotaf, fwyaf, a gogoneddusaf ag a gyflwynwyd erioed i feibion dynion: mae yn ffaith i ni y dryllia Efe, drwy offerynoliaeth rhai mor wael â ni, holl gestyll y fall a'n gwrthwynebant; y dwg Efe drwyddom ni bob gwrthwynebydd yn ddarostyngedig iddo Ef ei hun, ac y sefydla Efe yn yr oes hon lywodraeth o gyfiawnder a hedd yn fuddugoliaethus ar ddadfeiliadau gwledydd, ac ar garnedd y Babilon fawr. Hysbys i ni yw y ffeithiau hyn Frodyr! Mae ein heneidiau yn ymwybodus, heb os, o hyn drwy brawfiadau annrhaethadwy i ni, ac annealius i bawb amddifad o Ysbryd y gwirionedd oddi uchod; ac y mae ffaith bwysig arall mewn cyssylltiad â hyny a deilynga ei cherfio ar lechau ein cof, fel nad allom ei hanghofio; hyny yw, ein dwyfol osodiad bob un yn ei gylch i fod yn flaenoriaid—yn *arweinyddion*—yn WELEDYDDION o y fod praidd ein gofal yn dilyn ein hesiamplau ni yn mhob peth a orchymynom iddynt.

Pe gadawsai ein Mheistr mawr nyni yn amddifad o'i feddwl, i *drefnu* cyfundraeth neu i *ffurfio* mesurau ein hunain i ddwyn oddiamgylch yr effeithiau mawreddog o adferiad yr hen i wneuthur y newydd fyd, ac o waghau yr hen a llanw y newydd fyd o'i drigolion yn uwch-angylaidd, ac anfarwol ogoneddus, megys ag y gadawa holl sectwyr byd i ffurfio eu herthyglau, ac i "gloddio iddynt eu hunain bydewau" yn ol eu mympwyau, gofynasai yr enaid ar unwaith, "Pwy sydd ddigonol i'r mawrwaith hwn?" Eithr, o'i ddaioni Ef, nid dyna ein cyflwr ni: rhoddwyd i ni y *cynllun*; portreadodd ei Ysbryd ger gwydd ein dealltwriaeth y *peiriant* perffaith a ddwg hyn oll oddiamgylch, ac a'i cyflawna oll, bob iot, a hyny gyda buandra cyferbyniol i ddiwydrwydd y peirianwyr; rhoddwyd y peiriant hwn megys yn ein dwylaw ni—peirianwyr ydym. Iawn gofiant o hyn a ddengys i ni ein cyfrifoldeb, ac iawn ystyriaeth o hyn a'n calonoga, ïe, a'n symbyla i'r orchestwaith anrhydeddus a berthyna i'n cylchoedd. Gan mai oferwaith yr ystyriem gynnygiad o brawfiadau o ddwyfoldeb y gwaith ag sydd wedi ei osod tu hwnt i ddadl yn eich calonau eisoes, atebir prif amcan presennol y cyfarchiad hwn i'r graddau yr ail enyna y ddawn ddwyfol sydd ynoch i fwy diwydrwydd; a llawenhawn o'r herwydd i'r graddau y gwelir mawrion weithredoedd eich Saint gyda phob rhan o waith Duw. A gawn ni y gorfoledd hwn, Frodyr? Gorfoledd gorfoleddusaf gan ein henaid! Oni allwn ni gael genych gredu fod hyny ar eich dwylaw chwi i'w wneuthur! Credwn y gwelwch—y dengys Ysbryd y goleuni i chwi pa le i wella—i ddiwygio, ac i ymegnïo yn y flwyddyn hon yn dra tu hwnt i waith yr hon a aeth heibio. Credwn na raid i ni nodi pob llesgedd sydd wedi bod yn mhob un ac yn mhob peth cyn y ceir gwelliant; eithr hyderwn y bydd adfyfyriadau ar y mynedol, dan ddylanwad Ysbryd y gwaith yn eangu eich calonau, ac yn enyn eich sêl gyda phob mesurau doeth, ac i weled eu bod yn cael eu gweithredu yn effeithiol, er dwyn oddiamgylch y gwelliadau a welwch yn ddaionus.

Sylldrem arno ei hun ynghyd a'i Gynnadledd yn nrych cywir eu gweithredoedd, a welir yn ein cyfrifiad hanner blynyddol—yn nhaflen cyfrifiad y dyledion am lyfrau,—y cyfraniadau at y Gymdeithas Ymfudol Barhaus, ac ail graffiad ar yr hyn a gyfranodd ei Gynnadledd at y *Deml*, a awgryma neu

a ddylai ddysgu i bob Llywydd beth yw y gwersi a deilyngant ei sylw manylaf! Ffeithiau fel hyn, yn uwch nâ sŵn geiriau na llais corwynt, a dystiant yr anghen o'r sylwadau presennol; ac a sefydlant gymmeriad Llywydd Cynnadledd yn effeithiolach nag y dichon dim arall wneuthur. Er na chredwn fod dynion gwell yn ein gwlad nâ'r rhai yr appeliwn atynt, ni chredwn chwaith nad oes gwelliadau a allech chwithau wneuthur, a'r rhai a fyddent yn ogoniant i chwi, ac yn lles i'r Saint a'r byd. Nid oes dim a brawf anallu llywyddol yn fwy nâ *methu* cael gan y rhai a lywyddir gyflawni a geisir ganddynt. Ac nid oes brawf amlycach o anufydd-dod Llywydd nâ ei fod heb osod mewn gweithrediad y mesurau a geisir ganddo. Ei ufydd-dod ef yn gyferbyniol i'w ymdrech a orchfyga wrthryfel, a deilynga ac a ennilla ufydd-dod ereill iddo; tra, o'r ochr arall, os esgeulusa efe y cynghorion a gaiff dysga hyny ereill i'w efelychu drwy anufyddhau i'w gynghorion yntau. Gan na ofynir gan y naill na'r llall o honom ddim ond a ofyna y Duw cyfiawn ag sydd yn addaw ein cynnorthwyo i gyflawni hyny, dylaï ffyddlondeb a rhinwedd pob un o honom orfodi ein gilydd i gredu mai un-peth yw gorchymyn â gweled y cyflawniad o hono; neu fod y *gwneuthur* yn gyssylltiedig anwahanol â'r *cynghor*. Pe yn y nef yn awr, a arosem ni heb gychwyn hyd yr ail neu'r trydydd alwad? O na, ystyrid hyny yn bechod a ysgymunai yr anufydd o'r lle. Wel, yn ol graddau y wybodaeth, paham nad yw anufydd-dod i'r Offeiriadaeth yma yn bechod? Ac os yn y Llywydd, onid canlyniad naturiol yw dysgwyl i'r Saint fod yn anufydd hefyd? Ymffrost pob Llywydd fyddo cael Saint ei ofal i rodio yn ysbryd y gyfraith, a'u gorchestwaith hwynt fyddo yn glod iddo.

Rhag ofn na ddealla pob Llywyddion i fanylrwydd ddyledswyddau y cylch y troant ynddo; a chan na chawsom amser cynt i gyflawni yr hen ddefod drwy roddi "calenig" i'n cyfeillion, hyderwn yr ystyrir iawn hyfforddiad o'u dyledswyddau yr anrheg o "Galenig" oreu yn awr.

Dylai pob Llywydd wylied dros lesiant tymmorol ac ysbrydol yr oll sydd yn ei Gynnadledd, gyda rhag-ofal tadol; cynghori ac hyfforddi Llywyddion y Cangenau o barthed i bob peth a duedda i ledaenu gwybodaeth o'r efengyl, ac adeiladu yr eglwys mewn purdeb ac mewn nerth; i *weled* fod pob cyng-

horion a roddir, a phob mesurau a amlygir drwy y *Star*, yr UDGORN. neu a ddeuant ato mewn unrhyw ffordd arall oddi wrth ei Lywyddion yn cael eu cario allan yn effeithiol, trwyadl a phrydlon drwy holl Gangenau ei Gynnadledd; galw, ordeinio a danfon y personau cyfaddasaf i addysgu ac i hyfforddi yr Eglwys; galw ac ordeinio dynion i bregethu yr efengyl mewn cylchoedd newydd o fewn ei gyffiniau, fel y caffo pawb o fewn ei gyrhaedd glywed yr efengyl; gwylied yn fanwl na fyddo unrhyw athrawiaethau yn cael eu dysgu yn yr eglwysi yn groes i'r rhai a ddeilliaw oddiwrth y Brif Lywyddiaeth, neu a orchymynir eu dysgu drwy yr awdurdodau rheolaidd a Dadguddiadau Duw; bod yn ofalus na adawo i unrhyw ddysgeidiaeth nac arferiad anfoesol lechu yn unrhyw o eglwysi y Saint, a bod y sawl a wrthodo rodio yn deilwng o'i broffes santaidd, ar ol cael ei rybuddio yn deilwng â gweinidogaeth yr eglwys, yn cael ei ysgaru o blith y cyfiawn, fel y byddo eglwys Crist yn bur, ac y cynnyddo mewn gwybodaeth o Dduw drwy ddawn yr Ysbryd Glân; dysgu y cyfoethog i dalu eu DEGWM; ymhysbysu ei hunan yn, a chwilio i mewn i ddosparthiad y llyfrau yn ei Gynnadledd ac yn y Cangenau; gosod pawb ar waith i werthu yr argraffedig air hyd y gellir cael cylchrediad i bob llyfrau a gyhoeddir gan yr Eglwys, na byddont yn sefyll ar law yn un man yn ei Gynnadledd, ac na fyddo Dosparthwyr y Cangenau yn eu gwerthu ar goel; bod y Cymdeithasau Traethodau, lle y maent yn cael eu cynnal, a'u sefydlu hyd y gellir lle nad ynt, ac yn iawn ddefnyddio y cyfraniadau i'w dybenion priodol; bod y Cangenau yn gwerthu y *Star* a'r UDGORN sydd ar law. ac yn neillduol fod y Dosparthwyr yn trosglwyddo yr holl arian sydd yn ddyledus i'r Swyddfaau yn brydlon, fel na rwymer dwylaw y rhai a ddymunant gario y gwaith yn mlaen; rhoddi mesurau doeth mewn gweithrediad i dalu dyled ei Gynnadledd; ac yn neillduol dybyna ar bob Llywydd i hwylyso a chynnorthwyo yr oll a allo i ymfudo i Seion neu i'r Taleithiau Unol. Yn enwedigol teilynga y Gymdeithas Ymfudol Barhaus, a'r cyfraniadau at y Deml, gefnogaeth rymus a pharhaus pob Llywydd Cynnadledd

Weithian, Frodyr Llywyddol, Gwelwch na raid i chwi fod heb ddim i wneuthur, pan ymweloch â'r Cangenau; wele ychydig o waith i ddechreu, ceir chwaneg erbyn y dybenir hyn.

Etto ni wyddom am ffordd i hebgor un iot o'r uchod, nac i gymmeradwyo y Llywydd a esgeuluso *un gair* o hono; dyled i Dduw ac i'w waith yw yr *oll*, a'n ffyddlondeb gyda yr ychydig ddyledswyddau *bychain* presennol yn unig a'n galluoga i gyflawni, ac i deilyngu i ni oruchwyliaeth dros bethau mwy. Pe cyfiawnid hyn bach a enwasom yn y chwarter blwyddyn presennol, ad-dalid i'w gyflawnwyr daliadau can cymmaint o'r nef ac o'r ddaear; os ammheuir, hawdd yw gwneyd prawf, a chael gan Dduw dorri y ddadl. Paham na chawn ddysgwyl y gwneir hyn? Os analluog, Duw anghyfiawn a'i gofyna! Os arswydir rhag effaith y resymeg hon, arswyded y Llywydd a fetha; canys, yr un resymeg a'i prawf ef yn anffyddlon ag a brawf ei Dad Hollalluog yn un â'i air i'w nerthu os ymdrecha fel y dylai.

Bellach, Frodyr, adwaenoch pa Ysbryd a'n gorfoda i'ch cyfarch fel hyn, a'r dyben o hyny hefyd. Llanwed yr Ysbryd hwn eich eneidiau chwithau, a galluoged chwi i gyflawni y dyledswyddau hyn oll hyd y llythyren o honynt. Gwna ni yn eofn i ysgrifenu yn eglur atoch chwi, dan yr ystyriaeth mai rhagorolion ysbrydion y cyn-fyd ydych—am y rhai y dywedodd eich Tad, "Y rhai hyn a wnaf yn *llywodraethwyr*," yn eu prydiau a'u hamserau; ein hymddiriediad yn eich mawredd a'n calonoga i ofyn a dysgwyl llawer o gymhorth genych; fel y gweddai i ddewrion mawreddog llu yr Arglwydd, y rhai a broffesant fod yn gadfridogion byddin annorchfygol, ac ydynt i ddadymchwelyd byd a'i wyneb iawn i fyny mewn byr amser, deuwch a phob swyddog ac aelod a berthyna gyda chwi—deuwch yn mlaen i'r frwydr fawr olaf hon, mor wrol ac anrhydeddus ag y gweddai i'ch proffes. Ag arfau gloewon, arddangosiadol o burdeb calon, â grymusder meibion Duw, yn ymfrwydro am y coronau anniflanedig sydd o'ch blaen—yn eich cyfer—yn adlewyrchu ar eich llygaid eisoes, deuwch yn mlaen. Deuwch yn awr, ïe, deuwch a'ch holl galon a chyda phob arfau y deyrnas, deuwch i faes y frwydr i'n cynnorthwyo i ennill y fuddugoliaeth addawedig a sicr ini! Beth meddwch? Mae'r Brenin yn aros am eich atebiad! Gweled a gaffom o ddymuniad ein calonau, sef gweled pob Cynnadledd fel llu banerog wedi ymwisgo yn holl arfogaeth eu Brenin, yn rhuthro yn mlaen o fuddugoliaethau i fuddugoliaeth dragywydd.

Cynnygiwn y cyfarchiad hwn yn lle llythyr etholiad i'r holl Lywyddion yn eu cylchoedd presennol, ac yn brawf o'n hymddiried ynddynt a'n gobaith drwyddynt am fawr lwyddiant; Ysbryd Duw byddinoedd Israel a orphwyso ar bob un o honoch gyda mwy grymusder a nerth o hyn allan nac oll; a'ch cyneuo â'r tân dwyfol fel marwor oddiar yr allor, nes y byddo eich sêl fel fflam yn cyneu drwy eich holl Gynnadleddau, y sêl a'r ymroad a weddai i, ac a deilynga y mawr-waith sydd yn ein dwylaw; eich calonau a orlifont gan eiriau y bywyd yn eu pryd mewn doethineb ddwyfol dros eich geneuau; cynghorion y Santaidd Un fyddo eich rheol, a'ch hoff waith fyddo porthi ei braidd, coleddu ei ŵyn a gweinyddu iachawdwriaeth i fyd ar drengu; hyn yw ac a fydd taer a pharhaus weddi eich cyd-filwr drosoch oll, yn enw ein Brenin. Amen.

Derbynied y Saint ein "*Calenig*" iddynt hwythau, yr anrheg oreu a allwn roddi, sef eu *Llywyddion* presennol; mawrhewch eich braint o'u cael; gweinyddwch iddynt gysuron o'ch meddiannau i ddiwallu eu hanghenrheidiau, rhodiwch yn unol â'u cynghorion, a byddwch o'r *un* galon â hwynt yn mhob rhan o waith yr Arglwydd; felly yr hwn a'n pïa ni oll a ad-dalo i chwi ar eich canfed.

Ceisiwn gan bob Llywydd anfon i ni yn ddioed enwau yr Henuriaid Teithiol yn ei Gynnadledd.

Hysbysed y Llywydd i ni enw y sawl a ddewiso yn Henuriad Teithiol, ac na anfoner neb o hyn allan heb hyny, ac hyd oni chaffo efe drwydded briodol i hyny yn ol.

---

*Yr Ymfudwyr Eleni.*—Hysbyswn y Saint fod ein parchus Gynghorydd, a'n hanwyl gyd-lafurwr er's blynyddau bellach, sef yr Henuriad Thomas Jeremy, yn bwriadu dychwelyd at ei deulu ac i fynwes yr eglwys yn ol i Seion yn y gwanwyn dyfodol. Fel cenadydd ufydd dros ei Dduw gadawodd y Brawd Jeremy briod a theulu iauanc a lliosog yn Utah; ar ei gost ei hun daeth ar draws cyfandir a thros y môr; er's mwy nâ dwy flynedd bellach mwynhaodd y Saint Cymreig ei wasanaeth ffyddlon a pharhaus drwy ddê a gwynedd, a diau fod miloedd o honynt wedi mwynhau mwy o leshâd, bendithion, a daioni drwyddo nag a allant dalu yn ol iddo; etto, credwn eu bod yn dysgwyl am y cyfle a'r fraint i brofi eu cariad drwy wneuthur

a allant i'w gynnorthwyo i ddychwelyd yn gysurus; wel, dyma eu dymuniad i'r Saint, a rhodded eu Llywyddion bob cyfle iddynt gyfranu at hyn, ac anfoner yr oll yma i ni yn brydlawn.

Cymmerwn y pleser o ofyn eu hynawsedd at ein hanrhydeddus Lywydd Spencer hefyd, yr hwn sydd ar ddychwelyd i Seion; ni fu teilyngach cais o ffaen y Saint na hwn; hynodŵr hoff a ffyddlon, ceir colled ar ei ol, a gofidia y sawl na thalo y deyrnged a allo i'w gynnorthwyo. Gadawn hyn gyda y Llywyddion i'w ofalu hefyd, ac i'w drosglwyddo yma gyda y llall, a'u cyfraniadau at yr "Henuriaid Tramor" hefyd, yn ol cais y Llywydd Richards.

---

# MYNEGIAD CYFRIFIADOL

O EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF YN NGHYMRU, AM YR HANNER BLWYDDYN YN TERFYNU RHAGFYR 31, 1854.

LLYWYDD,

Dan Jones.

CYNGHORWYR.

Thomas Jeremy. Daniel Daniels.

| *Cynnadl* | *Cang* | *A.* | *H* | *O* | *Ath.* | *Di.* | *Tor* | *Ma* | *Ym* | *Bed* | *Oll.* | *Llyw.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Morganwg Ddwyr. | 34 | 1 | 270 | 90 | 80 | 54 | 205 | 22 | 49 | 206 | 1802 | R. Evans. |
| Morganwg Orllew. | 19 | 1 | 66 | 38 | 24 | 19 | 6 | 3 | 0 | 47 | 483 | D. E. Jones. |
| Sir Fynwy ...... | 19 | 0 | 80 | 25 | 32 | 18 | 41 | 1 | 6 | 46 | 556 | T. D. Giles. |
| Sir Frycheiniog.. | 7 | 0 | 26 | 7 | 5 | 6 | 18 | 3 | 1 | 10 | 141 | T. Morgans. |
| Llanelli ........ | 11 | 0 | 69 | 13 | 8 | 17 | 7 | 1 | 5 | 30 | 338 | Ben. Jones. |
| Caerfyrddin .... | 7 | 1 | 26 | 10 | 6 | 5 | 11 | 1 | 0 | 13 | 155 | T. Jenkins. |
| Gogledd Penfro.. | 4 | 0 | 14 | 5 | 2 | 2 | 0 | 1 | 5 | 1 | 52 | T. Evans. |
| Deau Penfro .... | 13 | 0 | 32 | 5 | 3 | 9 | 15 | 2 | 8 | 13 | 197 | John Price. |
| Sir Aberteifi .... | 5 | 0 | 15 | 4 | 3 | 1 | 0 | 0 | 0 | 6 | 108 | B. Bvans. |
| Sir Feirionydd .. | 6 | 0 | 14 | 7 | 2 | 1 | 0 | 1 | 0 | 4 | 72 | J Davies. |
| Sir Fflint ........ | 5 | 0 | 20 | 5 | 5 | 3 | 1 | 0 | 0 | 10 | 121 | E Davies. |
| Sir Ddinbych.... | 5 | 0 | 16 | 5 | 5 | 2 | 3 | 0 | 0 | 7 | 114 | 7ohn Parry. |
| Sir Fon a Conwy | 6 | 0 | 24 | 6 | 5 | 4 | 2 | 1 | 0 | 6 | 98 | Rd. Roberts. |
| Cyfanrif.... | 141 | 3 | 669 | 220 | 180 | 141 | 309 | 36 | 74 | 399 | 4240 | |

---

# AMRYWIAETHAU, &c.

Yr "*Arweinydd i Seion.*"—Cymhellwn y Traethawd bychan hwn i sylw y Saint, ac yn neillduol yr ymfudwyr eleni—ni ddylai un o honynt fod hebddo. Dylai fod yn eu llogellau o

hyd i ateb pob cwestiwn, ac i'w hiawn gyfarwyddo yn mhob amgylchiad; dysga pa fodd i bob dosparth barotoi i gychwyn; pa fodd i ochelyd colledion a chostau hyd y ffordd, ac nid oes gynghor ynddo heb fod yn werth llawer mwy nâ *cheiniog a dimai!* Mae ei gyfarwyddiadau hyd y Taleithiau, ac yn wir i'r sawl a elo yr holl ffordd, mor gywir a defnyddiol eleni ag yr oeddynt y llynedd, hyd y cyrhaedda. Dysged y Saint nad gwir yr hen ddiareb a ddywed, "Goreu y ddysg a brynir trwy brofiad;" mae llawer un wedi methu cyrhaedd Seion o herwydd anghredu y "ddysg" a brofodd ereill; eithr na efelycher hwynt gan Gymro, er mwyn *ceiniog a dimai.*

---

DYLEDION AM LYFRAU AR Y GWAHANOL GYNNADLEDDAU, AM Y CHWARTER YN TERFYNU, RHAG. 31, 1854.

Sir Fynwy, £46 11s 11¾c; Sir Frycheiniog, £10 10s 3¼c; Gorllewin Morganwg, £117 1s; Llanelli, £44 15s 5¾c Caerfyrddin, £25 11s 4½c; Sir Aberteifi, £15 19s 3¼c; Sir Feirionydd, £12 16s 10¼c; Sir Fflint, £21 1 9¼c; Sir Ddinbych, £19 9s 2½c; Dyffryn Conwy, £11 13s 11¼c; Sir Fôn, £16 8s 7¼c; Penfro Ogleddol, £6 13s 5¾c; Dwyreiniol Morganwg, £136 15s 6½c; Cangen Gymraeg Livrpool, £3 1s 8½c; Sir Henffordd, £4 8s 7c.—Cyfanswm, 492 19s 0¾c.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O ION. 1 HYD Y 15.—Thomas D. Evans, 17s; Thomas Morgan, £2 10s.

☞ Ymddengys llythyr dyddorol oddiwrth Golygydd blaenorol yr UDGORN, sef yr Henuriad John Davis o'r Dyffryn, yn y rhifyn nesaf.

⁂ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 3.] CHWEFROR 3, 1855. [CYF. VIII.

## ARAETH GAN Y LLYWYDD B. YOUNG.

*A draddodwyd yn y Tabernacl, D. Ll. H. Mawr, Chwefror 20, 1853, yn y prydnawn.*

[Parhad o dud. 524.]

DYMUNWN sylwi ar hyn. Darllenwn yn y Beibl fod yna un gogoniant yr haul, arall y lloer, ac arall y sêr. Yn y Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau gelwir y tri gogoniant hyn yn dandddaearol, daearol, a nefol yr hwn yw yr uchaf. Bydoedd ydynt wahanol ddosparthiadau, neu drigfanau yn nhŷ ein Tad, Yn awr, ni fydd y dyn hwnw, neu y fenyw hono, na wyddont amgen am allu Duw a dylanwad yr Ysbryd Glân nag i gael eu harwain yn gyfangwbl gan berson arall, gan ddifuddio eu dealltwriaeth eu hunain, a phinio eu ffydd wrth lawes un arall, byth yn alluog i fyned i mewn i'r gogoniant nefol, i gael eu coroni fel y dysgwyliant; ni fyddant yn alluog byth i fyned yn Dduwiau. Nis gallant lywodraethu eu hunain, heb sôn am lywodraethu ereill; eithr rhaid eu cyfarwyddo yn mhob peth bach fel plant. Nis gallant reoli y typyn lleiaf arnynt eu hunain, ond y mae yn rhaid i Iago, Pedr, neu rywun arall eu rheoli. Nis gallant byth ddyfod yn Dduwiau, neu i gael eu coroni fel llywodraethwyr â gogoniant, anllygredigaeth, ac â bywydau tragywyddol. Ni fedrant byth ddal teyrnwialen o ogoniant, mawredd, a gallu yn y deyrnas nefol. Pwy a wnant? Y rhai ydynt ddewr, ac wedi eu hysbrydoli â gwir anymddi-

bynrwydd y nefoedd; a ânt allan yn eofn i wasanaeth eu Duw, gan adael i ereill wneyd fel y mynont; y rhai ydynt yn benderfynol i wneyd yn iawn, pe gwnelai holl ddynolryw yn hollol groes.

A gymhwysa hyn i rai o honoch chwi? Atebed eich calonau. A wyddoch chwi gystal â mi pa beth sydd yn iawn, a pha beth nag sydd? Gwyddoch mewn rhai pethau, ond fe ddichon na wyddoch gystal mewn pethau ereill; eithr egluraf pa beth a feddyliaf, trwy y geiriau canlynol.—Gwnaf yr holl ddaioni a allaf, a'r oll a wn pa fodd i'w wneyd; a chiliaf oddiwrth bob drygioni a adnabyddaf ei fod yn ddrygioni. Geill pawb o honoch wneyd cymmaint â hyna. Cyfeiriaf fy nghalon at ddoethineb, a gofynaf i'r Arglwydd ei gyfranu i mi; ac os mai ond ychydig a wn, ymwellâf arno. fel y meddianwyf ychwaneg y fory, a chynyddaf felly o ddydd i ddydd, yn ngwybodaeth y gwirionedd, fel y cynyddodd Iesu Grist mewn corffoliaeth a gwybodaeth, o fabandod i ddynoliaeth; ac os nad wyf yn alluog i farnu droswyf fy hun yn awr, fe ddichon y byddaf yn mhen blwyddyn etto. Yr ydym wedi ein ffurfio i gynnyddu yn nghyrhaeddiadau dealltwriaeth, a dichonadwy yw i'r Sant lleiaf, drwy ymlyniad diysgog wrth drefn Duw, i gyrhaedd iachawdwriaeth gyflawn a thrwyadl, wrth ei ffyddlondeb ei hun, trwy râs Duw.

Gwn fel yr oedd hi yn swydd Jackson. Y mae teuluoedd yn y ddinas hon a aethant i'r swydd hono er ys 21 neu 22 o flynyddau yn flaenorol i'r hydref diweddaf, os nad wyf yn camsynied. Gwn pa beth oedd eu teimladau. Eu holl ymgais oedd cael myned i dref Independance, swydd Jackson, lle y dysgwyliasant weled pob pechod a drygioni wedi sychu i fyny—nefoedd wedi ei dechreu ar y ddaear, a therfyn ar holl ofidiau eu marwoldeb. Y dyben hwnw a'u cynhyrfodd hwy i fyned yno. Druain o honynt! Cyn lleied a wyddent am iachawdwriaeth a'r dull i'w chael. Gallaswn innau fod wedi myned yno hefyd, ond yr oedd awydd arnaf i daranu a rhuo allan yr efengyl i'r cenedloedd. Ymlosgodd yn fy esgyrn fel tân ymgauedig, ac felly cefnais ar swydd Jackson i bregethu efengyl yr iachawdwriaeth i'r bobl.

Fel hyny yr oedd teimladau y bobl a aethant i fyny i swydd Jackson; ond nid oedd arnaf fi chwant myned yno; nid ym-

foddlonwn ar ddim ond gwaeddi ar hyd y ddaear pa beth mae yr Arglwydd yn wneyd yn y dyddiau diweddaf hyn.—Yn mhen enyd dechreuodd y gwrthlif hwnw a ffrydio mewn dwy ffordd, a chawsant hwy fwy o ofid yn Independance nag a gawsom ni yn Nhalaeth Caerefrog. Ewynodd a rhuodd arnynt hyd nes eu gorfodwyd i ddianc.

Mae blys arnaf i ofyn i'r personau hyny a yrwyd allan o swydd Jackson, os dyoddefasant gymmaint oddiwrth y cyflawniad o'r gyriad allan ag a ddyoddefasant yn y dysgwyliad o hono flwyddyn cyn ei ddygwyddiad? Chwi a atebech oll, pe y gwybuasech hyny flwyddyn yn mlaen llaw, na allasech ddyoddef y meddylddrych.

Yr wyf am gymhwyso hyn mewn dwy ffordd. Dichon i chwi y rhai nad ydych wedi myned trwy y profedigaethau, a'r erlidigaethau, a'r ymlidiau gyda y bobl hyn o'r dechreuad, ond yn unig wedi darllen yn eu cylch, neu wedi clywed eu hadrodd, feddwl mor ddychrynllyd yr oeddynt i'w dyoddef, a rhyfeddu pa fodd y goddefodd y Saint hwynt oll. Achosai y meddwl am danynt i'ch calonau i ymsuddo o'ch mewn, eich hymenydd i symmud, a'ch corff i grynu, a pharod ydych i waeddi, "Nis gallaswn ei ddyoddef." Yr ydwyf fi wedi bod yn ei boethder, ac ni theimlais yn well yn fy mywyd. Ni theimlais erioed ddihidliad mwy haelionus o heddwch a gallu yr Hollalluog arnaf yn y man llymaf o'r profedigaethau. Nid ydynt ddim i mi.

Clywaf rai pobl yn sôn am eu helbulon, eu gwasgfeuon celyd, a'u haberthau mawrion dros yr efengyl. Ni fu erioed yn aberth i mi. Nid yw unpeth a allaf wneyd neu ddyoddof, ond megys syrthiad pin i'r môr. Tra y rhagora y bendithion, y galluoedd, anrhydedd, llawenydd, gwirionedd, iachawdwriaeth, gogoniant, anllygredigaeth, a bywydau tragywyddol gymmaint ar unrhyw beth a allaf ad-dalu am y fath roddion gwerthfawr ag y gwahaniaetha y dyfnfor mawr mewn eangder, maint, a phwysau ar y pin a ollyngaf iddo.

Pe meddwn i filiynau o gyfoeth i'w gyssegru er adeiladu y bobl hyn, ac y dywedwn, cymmmerwch y cyfan, ac adeiladwch demlau, dinasoedd, ac amddiffynfeydd ag ef, gan amddifadu fy hun o bob ceiniog, a fuasai hyny yn aberthiad? Na fuasai i'm teimladau. Pe gelwid arnaf i bregethu yr efengyl hyd oni fyddai fy ngwallt yn wyn, a'm haelodau wedi gwanychu

gan oedran, hyd onid elwn i waered i'm bedd, ac heb weled fy nheulu na'm cyfeillion drachefn yn y cnawd; a fyddai hyny yn aberthiad? Na fyddai—eithr byddai yn un o'r bendithion mwyaf a gyflwynwyd i farwol ddyn—i gael galw miloedd, efallai filiynau o dywyllwch i oleuni, o feddiant Satan ac anghyfiawnder, at egwyddorion gwirionedd a chyfiawnder yn y bywiol Dduw.

(*I'w barhau.*)

*Cyf.* William Lewis.

---

## GAIR O DDINAS Y LLYN HALEN AT Y SAINT YN NGHYMRU.

*D. Ll. H. Mawr, Hyd.* 31, 1854.

Anwyl Frodyr,—Meddaf yr hyfrydwch yn awr o'ch cyfarch o ddyffryn y mynydd hwn. Cyrhaeddais yma ar y 25ain o fis Medi, yn iach, myfi a'm teulu; ac er fy mawr ddywenydd, canfyddais fod y ddinas yn rhagori mewn harddwch a maintioli ar ddim a ddychymygais am dani. Cefais fy hun yn fuan wedi fy amgylchynu gan yr hen frodyr gynt; a theimlais fy hunan ar unwaith yn gwbl gartref. Hyfrydwch oedd genyf weled y Prophwyd, a chael yr anrhydedd o gyfrinachu ag ef amryw droion. Mae ef yn meddu llygad craff, a barn uniawn; ac yn ei bresennoldeb ef yr adnebydd llawer un ei hunan. Mae yn dirion a mwyn wrth y rhai gostyngedig a gonest, ac yn llew rhuadwy i'r rhai ofnog a drygionus. Gweithredoedd dyn a adnebydd o bell, ac nid hawdd ei dwyllo mewn dim; ac ymddengys fel pe byddai pob dawn wedi cyd-ymgyfarfod ynddo.

Mae digon o fywioliaeth i bawb yn y dyffryn hwn, a digon o dir heb ei gymmeryd i gynnal mwy na thri chymmaint o drigolion, heblaw y dyffrynoedd eang ereill sydd oddiamgylch. Wedi treulio y gauaf cyntaf, ceir gweled y tlodion yn dechreu codi eu penau, ac yn dod i feddiannu tai, tiroedd, ac ychain; a phwy ond y nhwy! Ceir eu gweled yn gwenu wrth ganfod y siopwr newydd ddod i mewn wrth ei fodd yn cloddio ffos, y cyfreithiwr yn ymofyn coed o'r kanyon, y meddyg yn trafod cymmrwd, yr ysgrifenydd yn tynu pytatws, a'r pregethwr hyawdl yn tewi sôn. Mae llawer un, er hyny, fel fy hunan, yn

cael dilyn ei gelfyddyd ei hun, heb achos dysgu un newydd. Mae'n gofyn i ddyn foddloni i bob peth yma, a gwneyd ei oreu i adeiladu teyrnas Duw: os daw rhywun yma gyda dyben arall, byddai yn well iddo aros yn nhref, a gwasanaethu mammon

Pe caniatäai amser, gallwn roddi hanes ein taith tuag yma, a'r wybodaeth a ddysgais trwy brofiad: ond, efallai y byddai yn well gan lawer i ddysgu drostynt eu hunain, gan fod teithwyr tuag yma yn wahanol iawn i'w gilydd yn eu barn. Digon fydd dweyd, fod y daith yn mhell, y tywydd yn lled dwymn, yr ychain yn ystyfnig, dynion weithiau yn ystyfnicach, y cymmwynaswr yn cael ei dalu ag angharedigrwydd, y gwas weithiau yn troi yn feistr, y forwyn yn feistres, a llawnder yn brinder. Ond, y mae'r cyfan yn iawn; tuedda yr oll i brofi a pherffeithio y Saint, a'u parotoi i ddyoddef pethau mwy. Rhaid i bawb a ddeuant i Seion ddyfod er gwell ac er gwaeth, ac nid i fwynhau yr oll a ewyllysiant. Cofier y rhaid adeiladu Seion, cyn y mwynheir yr holl bethau y cenir am danynt. Hyd yma, mae teyrnas nefoedd megys rhwyd, yn llawn o bob math o bysgod, o'r brythyll bach dymunol hyd at y *shark* mawr ysglyfaethus.

Mae gwaith Duw yn llwyddo, gwybodaeth yn myned ar gynnydd, a'r diafol a'i lu yn ymgynddeiriogi. Brysied y rhai gonest i Seion mewn amser, fel na fyddont ar ol; canys dydd arswydus sydd yn agoshau. Adeilader y deyrnas, a bydded cyfoeth a golud yn ail bethau. Gweithreder cyfiawnder, a gwneler i arall yr hyn a ddymunid iddo yntau wneuthur tuag at ei gyd-ddyn. Peidier bod am grebachu y cyfan, a gorthrymu y tlawd, canys brodyr unwaed ydym oll, a chyd-etifeddion o ystad Duw. Gweithredwn fel ag i deilyngu gwobr, ac nid cerydd. I Dduw y perthyn ein llwyddiant, ac nid i ni ein hunain; canys mynych y mae trefniadau ac amcanion dyn yn methu. Deuwch yma i fod yn eiddo yr Arglwydd, ac nid yn eiddo eich hunain; ac yna gwenau Duw a fyddant arnoch, a'ch llwyddiant a fydd amlwg.

Bellach, anwyl frodyr, terfynaf hyn o lythyr trwy eich annog i ffyddlondeb a brawdgarwch. Perchwch y Llywyddiaeth sydd arnoch; daliwch i fyny eich Udgorn, a gwrandewch ar ei sain. Bendith Duw a'ch dilyno oll. Fy nghofion atoch i gyd, o'r

Llywyddion D. Jones, Thomas Jeremy, a Daniel Daniels, a llywyddion y Cynnadleddau a'r Cangenau, i lawr hyd yr aelod gwanaf o fewn eich terfynau. Amen.

Eich brawd yn y cyfammod newydd,

JOHN DAVIS.

---

## HANES EISTEDDFOD CYNNADLEDD ABERTAWY.

ANWYL LYWYDD JONES,—Ar ddymuniad taer oddiwrth amryw anfonaf a ganlyn i chwi i'w gyhoeddi yn yr UDGORN.

Gydwladwyr hynaws,—Cynaliwyd yr Eisteddfod uchod, yn ol yr hysbysiad a roddwyd, ar Ddydd Nadolig, yn Neuadd y Saint, Heol Orange, Abertawy.

Cymmerwyd y gadair yn brydlawn gan J. J. Thomas (Nathan Ddu o Lywel). Cyfododd ac annerchodd yr Eisteddfod gydag araeth fywiog, hyfedr a chymhwysiadol. Adroddodd hefyd ei 'Gywydd Annerchiadol" er boddhad y gynnulleidfa. Yna fe annerchwyd yr Eisteddfod gan D. E. Jones, mewn araeth fyr, gynnwysfawr, ac adeiladol i feirdd ieuainc. Yna aethpwyd yn mlaen a'r feirniadaeth ar y gwahanol gyfansoddiadau, yn fyr, yn ddiledgudd ac ochrawg, ac yn gydwedd gyfiawn farn ag ansawdd a theilyngdod gweithiau awenyddol yr ymgeiswyr.

Y TESTUNAU, A'R CYFANSODDIADAU.

*Yr Ymfudiad*—Tri ymgeisydd, sef Llwydwedd tan yr Iau Alltud o Geredigion, a Phererin. Dyfarnwyd y wobr i Llwydwedd tan yr Iau; galwyd yr enw, ac atebodd Joseph P. Prosser, Aberamam Alltud o Geredigion yn ail oreu.

*Gwladgarwch, Rhyddid, a Gwirionedd*—Tri ymgeisydd, sef Bardd Gwawr, Abwyd wyneblwyd, a John Reynolds. Barnwyd Bardd Gwawr y goreu, sef J. P. Prosser, a John Reynolds yn ail oreu. Buasai ymdrechfa boeth rhyngddo ef â Bardd Gwawr, pe na chadwynasai yr awen at gyfansoddiad mor fyr, ar destun mor ddyddorol. Gofaled rhag llaw.

*Ymdrechion y Saint yn Nghymru*—Dau ymgeisydd, sef Hen Sant, a Brodor o Fflint. Brodor o Fflint oedd y goreu, ond yn annheilwng o'r wobr. Eu profiadau eu hunain ydynt gylch rhy fychan i ddarfelyddu yr amgylchiadau cydfynedol ag ymdrechion y Saint yn Nghymru.

*Hiraeth am Seion*—Chwech ymgeisydd, sef Erastus, Hiraethus o Fflint, Cwynfanus, R. Conwy, J. Davies o Gaernarvon, a Jupiter. Erastus oedd y goreu; atebodd J. P. Prosser i'r enw, a'r tri olaf yn gyfartal ail oreu. Mae y goreu yn lled wallus, ond nid yw y lleill ond math o duchangerddi cwynfanus ac athrist, ac nid cerddi hiraethus ddymuniadol am Seion. Cynghorwn hwynt i ddarllen ychydig o "Gyfrinach Beirdd Ynys Prydain," gan Iolo Morganwg; gwna les iddynt.

*Ymdrechion y Saint yn Nghynnadledd Orllewinol Morganwg*—Un ymgeisydd, ond nid llwyddiannus.

*Y Trysorfa Ymfudol Barhaus*—Dau ymgeisydd, sef Heber, a Gwentwysion. Heber oedd y goreu o lawer, ac yn deilwng o'r wobr. Galwyd yr enw, ac atebodd J. P. Prosser.

*Yr Enllibwr*—Tri ymgeisydd, sef Nicholas o Rwssia, Phantom, a Chas ganddo Gythraul. Darluniodd Nicholas o Rwssia yr Enllibwr yn lled dda, ond nid i'r nod gofynol er teilyngu y wobr.

Da genym weled tuedd, amcan, ac ymdrech prydyddion a beirdd ieuainc. Cawsom lawer o wallau amrywiol yn y cyfansoddiadau goreu, a llawer o bethau teilwng yn y cyfansoddiadau gwaelaf. Annogwn hwynt i ddiwygiad, mewn ysgrifenyddiaeth, acenyddiaeth, silliadaeth, odliadaeth, mydriadaeth, a chystrawen. Hyn ar gyfiawn lafar y "Gwir yn erbyn y byd," ar air a chydwybod.

DEWI ELFED,
NATHAN DDU.

---

Y gwobrwyon am werthiad y traethodau a ddyfarnwyd i Thomas Perkins, Llansamlet, Henry John, Treforis, a Mrs. Davies, Abertawy.

Yr adroddiad goreu o Freuddwyd yr Apostol Woodruf oedd yr eiddo Mrs. Walters, College St. Dyfarnwyd iddi y wobr.

Y dadganydd goreu o Gyflafan Nauvoo, oedd Dan Jones, bachgenyn 12 mlwydd oed, mab i D. E Jones. Dyfarnwyd iddo y wobr.

Y dadganiad goreu o "Joseph the Seer," oedd eiddo Miss Sarah Walters o'r Dref hon. Dyfarnwyd iddi y wobr.

Cafodd y gwyddfodolion ddyddanwch mawr wrth wrando Capt. Jones, &c., yn eu bannerch mewn ymadroddion doethion a syn-

wyrgall; ac i lanw y gwahanol ddiffygiadau o eiddo yr ymgeiswyr, cafwyd y pleser o wrando cyfansoddiadau Dewi Elfed, a Nathan Ddu. Adroddodd Dewi ei gyfansoddiad ar ymdrechion y Saint yn Nghynnadledd Orilewinol Morganwg, ac un arall i'r Enllibwr yn dra medrus. Adrodd do a chanodd Nathan Ddu ei gyfansoddiadau destlus yntau.

Yn gymhlith â gwahanol weithrediadau yr Eisteddfod canodd y côr yn fedrus amrywiol o dônau.

Mewn efelychiad perffaith o'r *clarionet*, canodd Mr. Henry John, Treforis, amryw dônau difyrus dros ben. Eos, a Bronwen Glantaf, Dyfed, a ganasant i ni gyda'r fath bereidd dra, nes y dychymygem ein bod yn clywed "Llais neu fawl llys nefolion." Dan Jones (y Cethlydd Cymreig), ac Elen Angharad Jones (Eos Gwalia), ei chwaer, genethig ychydig dros wyth mlwydd oed, a ganasant i ni "*Lord, what love have I,*" mor seiniol â'r delyn. Hefyd canodd Dan Jones yr "Hiraeth am Seion," ar y dôn "Aderyn pur," er boddlonrwydd cyffredinol.

Gan na chanodd y rhai uchod yn unol â thestunau yr Eisteddfod, ni ellid dyfarnu gwobr iddynt. Er hyny, am eu ffyddlondeb a'u hegnion, gwneir rhyw gydnabyddiaeth iddynt gan Bwyllgor yr Eisteddfod.

Hyn, ynghyd a dadganiad o amryw dônau gan wahanol bersonau, yn gyssylltiedig â melysderau y delyn, a lanwodd fynwesau y presennolion oll â dyddanwch a llawenydd, yn yr hwn deimlad gorfoleddus yr ymadawwyd yn brydlawn, tra y canau y côr "*God save the Queen.*" A. L JONES, *Cofiadur.*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

DYDD SADWRN, CHWEFROR 3, 1855.

YR YMFUDIAD.—Yn ychwanegol at y cyfarwyddiadau a roddwyd yn ein rhifyn diweddaf ar yr Ymfudiad, ac at ba rai crefwn *sylw neillduol* y Llywyddion, fel y gallont iawn gyfarwyddo yr ymfudwyr, dywedwn mai doeth fyddai i'r Saint a

fwriadant ymfudo eleni o Gymru, ymbarotoi i gychwyn yn gynnar yn mis Mawrth, os dewisant gyd ymdeithio â'u gilydd i Utah. Gan fod doeth drefniad arolygwyr yr ymfudiad presennol yn sicrhau nawdd ac hyfforddiadau yr Henuriaid Americanaidd dychweledig i'r Saint Prydeinig yn fwy na chynt, cymhellwn y Saint Cymreig i ymbarotoi, fel y gallont fwynhau cyfarwyddiadau yr Henuriad T. Jeremy ar hyd y daith.

Dylai y sawl a ddewiso i'r Llywydd Snow brynu anifeiliaid a waggeni, iddo anfon yr arian mor fuan ag y bo modd,—erbyn y 14eg o'r mis hwn, neu ei ddiwedd o bellaf.

Cymhella y Llywydd Richards y rhai a feddant fwy o arian nag a fydd yn angenrheidiol er eu cludo i ben eu taith, i'w cyflwyno iddo ef, ac y caffant ei ddangoseg ef er eu cael yn ol gan y Llywydd Young; ac felly, nid yn unig byddant yn ddiogel rhag lladron ar hyd y daith, eithr byddant o ddefnydd mawr i ymfudo y Saint tlodion i Seion o hyny cynt. Gwarir llawer o arian gan y Saint yn flynyddol i brynu dilladau costfawr, celfi, llestri china, a llawer o bethau a ellid eu hebgor, yn enwedig yn awr pan y mae y pethau hyn oll i'w cael yno mor hynod o rad; pe benthycid hyny i'r Drysorfa er ymfudo y tlodion, arbedid llawer o golledion a thrafferth i'w cludo, ac fe wnelid lles annysgrifiadwy drwy ymfudo y tlodion â hwynt. Diau y byddai yr arian yn fwy defnyddiol i'r perchenog yno na'i gwerth o nwyfau a brynasai pan yn ddibrofiad o'u hangen.

Y galwad canlynol o eiddo y Llywydd Richards a arddengys i'r Saint yr angenrheidrwydd sydd am iddynt brysuro i gyflawni eu cyfammodau â byd ac eglwys, a gwneuthur eu dyledswyddau tuag at Dduw a'u cyd-ddynion, fel y byddont barod i fyned yn gymmeradwy gan eu cydwybodau eu hunain,—yr awdurdodau eglwysig, a chan Ysbryd Duw. Prawf hyn, fel pob peth arall nad amser i hepian yw ein dyddiau ni,—nad yw cyfnod y diweddglo hynod neppell oddiwrthym, ac y dylai pob un a fyno "fyned i mewn cyn cau y drws," ar draws y Mor Werydd, i wneuthur â'i holl egni yr hyn yr ymaflodd ei ddwylaw ynddo i'w wneuthur, pa un bynag ai rhybuddio ei gymmydogion drwy draethodu, tystiolaethu ac iawn fucheddu, ynte drwy gyflawni unrhyw ddyledswyddau ereill a ofynir ganddo. Pwy sydd wedi gorphen ei waith, ac yn barod i ateb y gwahoddiad a ganlyn gan ddywedyd, "Wele fi, yr wyf yn hollol

barod yn awr?" Pa sawl un o'r Saint sydd yn barod i gychwyn ychwaith pe deuai galwad yn awr o'r Dyffryn i ddod adref oll yn nghôl y Gymdeithas Ymfudol? Oni cheffid llawer mor daer am aros ychydig, eu bod heb dalu am eu llyfrau—eu cyfraniadau, &c., ag yw rhai o'r cyfryw ag yr anfonir amdanynt yn awr? Esgus resymol iawn, rhag cau drws yr ystafell briodas hono gynt, oedd gan y "morwynion ffol," yn eu golwg eu hunain; etto yr oedd eu hesgeulusdod i barotoi, pan yr oedd amser ganddynt i hyny, yn cau y drws yn eu herbyn. Pwy o'r Saint a'u hefelychant yn awr a feia arall os o herwydd ei esgeulusdod y gadewir yntau ar ol, pan y del y galwad olaf, "Deued yr holl Saint, mae'r llong yn aros?" Ymdrechwn i "brynu yr amser oblegid y dyddiau sydd ddrwg." Ond i ddych welyd, dyfynwn eiriau ein Llywydd ei hun :—

"Mae y Saint a fyddant yn analluog i fyned yn mhellach nâ Philladelphia, Cincinnatti, neu St. Louis, at eu rhyddid i aros yno hyd oni allant fyned yn mhellach. Caffant gymmeradwyaeth a bendith yr awdurdodau eglwysig yn gwneuthur hyny. Caffant gyfarwyddiadau dynion doeth a da a anfonwyd o'r Dyffryn i lywyddu arnynt, ac i wyliel dros eu lles.

"Dywedwn wrth yr holl Saint nac aroswch yma os oes modd genych i groesi y môr. Wedi cyrhaedd hyd y Taleithiau Unol, parhewch i deithio yn y blaen ar hyd y ffordd eich cyfarwyddir ynddi mor gyflym ag y caniatâ eich amgylchiadau. Cadwch eich gwynebau tua Seion. Ymdrechwch yn ddiwyd, a byddwch fyw yn ffyddlon ger bron yr Arglwydd, ac agorir eich ffordd o'ch blaen yn hynod o annysgwyliadwy; a chyrhaeddwch yn y fan a benododd Duw i ddiogelu ei bobl yn gynt nag yr ystyria rhai o honoch yn awr, fod yn bosibl."

---

## LLOFRUDDIAD JOSEPH A HYRUM SMITH!

*(Dyfyniad o draethawd sydd yn awr yn y Wasg.)*

O! yr olygfa alarus a welid ar ddydd angladd J. a H. Smith. Ni fu, ac ni fydd byth, ei chyffelyb; pawb yn bendrist ar hyd yr heolydd, yr holl siopau wedi cau, a phob masnach wedi eu hanghofio. Yn mlaen cyflymais fy nghamrau, nes cyrhaedd tŷ y diweddar Joseph Smith. Ymwthiais drwy y dorf alarus, nes

cyrhaedd yr ystafell lle y dodasid ei gorff ef a'i frawd, (canys yr ceddynt wedi eu dwyn o Carthage y dydd blaenorol); yno gorweddent yn eu heirch, ochr yn ochr—wyr mawreddig, fel y dyoddefasant, ochr yn ochr, o garchar bwygilydd am flynyddau, ac y cyd-lafuriasant, ysgwydd yn ysgwydd, i adeiladu teyrnas yr Emanuel: cariad tragywyddol a'u rhwymasau yn ddiysgog wrth eu gilydd, ac wrth eu Duw hyd angau; ac yn awr, fy llygaid a welai waed y ddau ferthyr duwiol yn ymgymysgu yn un llyn ar ganol y llawr—eu hen fam dduwiol a galarus ar ei gliniau yn ei ganol rhwng y ddau, a'i llaw ar bob un o'i meibion a orweddent mewn gwaed—ei chalon yn mron ymhollti gan arteithiau dirdynawl a gofidiau anysgrifiadwy. Wrth ben y meirw eisteddai priod anwylaidd pob un, ac oddiamgylch eu tad, safai pedwar o blant bychain Joseph, a chwech o blant Hyrum, gan waeddi yn awr ac eilwaith, "Fy nhad anwyl," "Fy nhad anwyl innau," ebe y lleill, heb atebiad yn ol ond adleisiad o'r muriau, "O fy nhad," ac o galonau y mamau.—"Fy mhriod wedi ei ladd;" a'u hen fam yn dwys ochain, "O fy meibion, fy meibion."

Yn mlaen yn awyddus ac yn drist ymwthiai y miloedd yn eu tro, i gael yr olygfa olaf ar eu brodyr anwyl, ag y bu eu cynghorion dwys, a'u dysgeidiaeth nefolaidd, yn fiwsig yn eu clustiau, yn llewyrch i'w llwybrau, ac yn llawenydd i'w calonau lawer gwaith. Yn yr heolydd oddiamgylch, teyrnasau dystawrwydd y bedd o'r braidd; ond pawb, foneddig a gwreng, a'u dagrau grisialaidd yn treiglo ar hyd eu gruddiau yn lli'. Yr oedd hyd y nod yr haul a'r elfenau wedi ymlonyddu megys mewn syndod, a holl natur yn edrych ar gynddaredd dyn at rai rhagorol y ddaear yn hon fel yn mhob oes o honi. Cofiaf byth fy nheimladau ar y pryd. Yn awr gwelwn y ddau ddyn mwyaf eu rhinwedd a'u doethineb yn ddiau ar y ddaear, pa rai a welais megys gyneu yn pregethu yn fwynaidd, oddirhwng bariau haiarn eu carchar, efengyl yr hedd i'r rhai a geisient eu lladd; y ddau a safasent fel dwy frwynen yn nghanol ystormydd yn dystion o'r Iesu, er gwaethaf cynddaredd eiddigeddus y wasg, y pwlpudau, a *mobs* yr oes, gan ymuniawni fel y frwynen a'i phen i'r làn ar ol pob awel, gan ddirmygu elw ac enwogrwydd bydol, yn ddiysgog glynasant wrth eu nhôd nes gorphen eu gwaith, ac fel eu brodyr henaf, a'u Blaenor o'u blaen, ni charasant eu

heinioes hyd angau, ni ommeddasant wynebu yn wybodus i'r lladdfa; ond neidiasant ar yr allor waedlyd a *welent* yn eu haros yn Carthage, "fel y caffent adgyfodiad gwell." Ond pwy bin a all ddesgrifio yr olygfa hono a theimladau y miloedd o alarwyr? Yr unig gysur a'u cynnaliai rhag suddo dan yr ormes a'r golled oedd, fod dydd o brysur bwyso yn dod ar hyn hefyd cyn hir,—fod yr hwn sydd a'r glorian gywir yn ei law yn canfod y cyfan, ac y ——, ond ymattaliaf. Hawddach i'r darllenydd ddychymygu nag i mi ddarlunio yr olygfa hon, a'i chanlyniadau.

Ond i ddychwelyd yn ol i Carthage gyda'r hanes, o'r lle y diengais tua thri o'r gloch prydnawn, y 27ain. Dangosa y darluniad a ganlyn yr ymosodiad ar y carchar a sefyllfa y fan, yn eglur, yr hyn a ysgrifenwyd gan un o'r pedwar ag oedd yno ar y pryd, sef Dr. Willard Richards.

"DAU FYNYD YN Y CARCHAR.

"Dichon yr hyn a ganlyn fod dri mynyd yn cael ei gyflawni, ar nad wyf fi yn meddwl ei fod dros ddau; ac ysgrifenais ef ar gais, ac er eglurhâd i'm cyfeillion.

*Carthage, Mehefin, 27ain,* 1844.

"Saethwyd cawod o fwledi i fyny y grisiau at ddrws y carchar ar yr ail lawr, a chlywsom sŵn llawer o draed yn ymruthro i fyny. Caeasom y drws, a safasom o'r tu fewn i'w erbyn, ac i'w ddala yn nghauad, canys nid oedd arno na chlo na *latch* a ellid ddefnyddio. Drws o *bine* teneu yw; cyn gynted ag y cyrhaeddodd y sŵn traed ben y grisiau, saethasant drwy y drws, a'r belen gyntaf a basiodd rhyngom, ac a brofodd mai llofruddion oedd yno Ar hyn newidiasom ein hagwedd. Neidiodd Mr. Joseph Smith, Mr. Taylor, a minnau, i'r ochr arall i'r ystafell, a Mr. Hyrum Smith a giliodd ddwy ran o dair ar draws yr ystafell ar gyfer, a'i wyneb at y drws, pan y saethwyd pelen o'r drws, yr hon a aeth drwy ei ben; yna cwympodd wisg ei gefn ar ei hyd ar lawr, heb symud ei draed. Ymddengys oddiwrth y tyllau yn ei ddillad a'i gorff wedy'n fod pelen arall wedi ei saethu drwy y ffenestr ar y pryd, yr hon a aeth i'w gefn, a thrwy ei gorff, nes sefyll yn ei awrlais, yr hon oedd yn mhoced ddeau ei *waistcoat*, gan ei chwilfriwio yn ddarnau. Rhaid fod y ddwy belen wedi ei daro ar yr un eiliad. Pan

gwympodd, dywedodd yn ddealladwy, "Yr ydwyf yn ddyn marw." Edrychodd Joseph arno, ac a ddywedodd, 'O! fy anwyl frawd Hyrum!" Yna gan agor y drws ychydig fodfeddi â'i law aswy, saethodd â'i law-ddryll ar ai tur i'r fynedfa, o ba le ar y foment hono y daeth pelen ac a rwygodd fynwes Hyrum yn agored, ac aeth i'w ben dan ei ên, ac allan drwy ei goryn, a dryllIau ereill yn aneledig ato ar y pryd, ac aeth rhai peleni ereill drwyddo o'r drws. Parhaodd Joseph i saethu â'i law-ddryll i'w gwynebau, gan sefyll o'r naill ochr, a chyrhaedd ei law o amgylch post y drws, ond methodd tri baril a thanio. Safai Mr. Taylor wrth ei ochr a ffon yn ei law, â'r hon y curai flaenau y bagnets a ffroenau y drylliau a hwthid i'r drws. Yn ei ochr ef safwn innau gyda ffon arall, ond ni allwn gyrhaedd i daraw i bwrpas heb fod yn ffroenau y drylliau. Wedi i'r llaw-ddryll fethu, ni feddem fodd i amddiffyn ein hunain; a chan y dysgwyliem ruthriad y terfysgiu i'r ystafell bob mynyd, y drws eisoes yn hanner llawn o ddrylliau, ac yn ymwasgu yn mlaen i'r ystafell, ac heb obaith o un man am achub ein byw-ydau, ond angau yn syllu yn ein wynebau o'r tufewn, rhuthrodd Taylor at y ffenestr, yr hon sydd tua 12 neu 15 troedfedd o uchder o'r llawr tuallan. Pan yr oedd ar neidio allan, saethwyd pelen oddifewn i'w glun, ac ar yr un eiliad saethwyd pelen arall oddiallan, yr hon a darawodd ei awrlais, yr hon oedd yn mhoced aswy ei *waistcoat*, gan ei chwilfriwio yn ddarnau, a gad-ael y bysedd yn sefyll ar 5 o'r gloch, 16 mynydau, a 26 mom-entau. Grym yr ergyd hon a'i gyrodd yn ol i'r ystafell, a chwympodd i'r llawr, ac a ymdreiglodd o dan y gwely oedd yn ei ymyl, ac yno y gorweddai fel un marw. Er hyn parhaodd rhai o'r drws i saethu ato, ac a rwygasant ddarn o gnawd oddiar ei forddwyd fwy na llaw gwr, ac er y ceisiwn ei arbed fy ngoren drwy guro a gwyro eu drylliau â'm ffon. Fel yr unig obaith, anturiodd Joseph i'r ffenestr, o'r hon y cwympasai Taylor; ond cyn ei chyrhaedd braidd, aeth dwy belen drwyddo o'r drws, ac un arall oddiallan drwy y ffenestr a aeth drwy yn agos i'w galon; ac efe a gwympodd allan, lle yr oedd blaenau bagnets yn ei dderbyn, ac efe a waeddodd yn ddealladwy, 'O ARGLWYDD FY NUW.'

"Nid cynt yr aeth ei draed ef o'r ffenestr nag yr oedd fy mhen innau ynddi, a'r peleni yn chwibanu o amgylch. Ar hyn

gwaeddasant yn uchel, 'Efe a neidiodd o'r ffenestr,' a'r rhai oedd wrth y drws, ac ar y grisiau, a redasant allan. Ciliais o'r ffenestr pan welais mai ofer fuasai ei ddilyn ef, a neidio ar dros gant o fagnets, pa rai oeddynt erbyn hyn wedi crynhoi o amgylch corff Joseph Smith. Etto yn anfoddlon i'w adael, estynais fy mhen allan drachefn, a syllais yn graff am ychydig i weled a oedd rhyw arwyddion bywyd ynddo; heb gofio fy mherygl fy hun, penderfynais fynu gweled diwedd yr hwn a garwn fel fy hunan. Wedi fy moddloni ei fod ef eisoes yn farw, dros gant o'r terfysglu yn ymruthro arno, ac ychwaneg yn dyfod o'r ochr arall i'r carchar; a chan y dysgwyliwn bob eiliad iddynt ddychwelyd i'r carchar, rhedais at ddrws haiarn y gell, yr hwn oedd wrth ddrws ein hystafell ni, ac wrth yr hwn y safent i saethu, i edrych a oedd clô arno. Pan ar ei gyfer, gwaeddodd Mr. Taylor arnaf, 'Cymmerwch fi gyda chwi;' ac wedi gweled fod y drws hwnw yn agored, dychwelais, a chariais Mr. Taylor yno, sef i'r carchar mewnol, ac a'i dodais i orwedd ar y llawr, ac a daenais fatras drosto, fel na sylwid arno, canys dysgwyliwn y terfysglu i mewn bob eiliad. Sylwais wrth Mr. Taylor,—'Mae hwn yn wely go galed, ond os nad yw eich clwyfau yn farwol, gobeithiaf y cewch chwi fyw i draethu yr hanes.' Dysgwyliwn gael fy saethu bob eiliad, a sefais yn y drws yn barod, deued a ddelai.

"WILLARD RICHARDS."

---

## LLYTHYR ODDIWRTH Y CHWAER JEREMY.

*Dinas y Llyn Halen, Medi* 31, 1854.

ANWYL FRIOD,—Yr wyf yn achub y cyfleusdra hwn i anfon atoch, rhag ofn na chaf gyfle eleni etto. Yr ydym ni fel teulu yn iach, ac yr wyf yn ddiolchgar iawn i'm Tad nefol am ei ddaioni a'i ofal drosom bob amser. Gwn fod eich gweddiau chwi yn cael eu hateb ar ein rhan fel teulu; nid ydym ninnau yn eich hanghofio chwithau yn ein gweddiau: mae fy nymuniad ar fy nhad nefol i'ch nerthu chwi a'r brodyr ereill yn mhob amgylchiad a'ch cyfarfyddo.

Fe gawsom Gymmanfa ryfeddol o dda yma, a buasai yn dda genyf pe buasech chwi yma yn gwrando pregeth y Llywydd B-

Young y dydd diweddaf o'r Gymmanfa. Cawsom glywed pethau na chlywsom o'r blaen, ond nid af i fanylu: os daw y bregeth allan yn argraffedig, mi a'i danfonaf i chwi

Mae y cwmpeini diweddaf o'r Saint wedi dyfod i mewn yr wythnos ddiweddaf, ac yn eu plith yr oedd y brawd Bywater. Mae T. C. Martill, a Henry Harries yn lletya gyda ni; y maent iach ac yn dymuno eu cofio atoch.

Ddoe dechreuwyd adeiladu *bowery* wrth dalcen y Tabernacl, yr hwn fydd yn ddigon helaeth i gynnwys pawb a fydd yn y Gymmanfa. Mae yn y Tabernacl gyfarfodydd da bob Sul. Yr wyf yn meddwl am danoch yn fynych, a pha mor felys y byddech yn derbyn y ddysgeidiaeth. Mae llawer o bethau rhyfedd iawn ar gymmeryd lle, fel yr ydym wedi cael clywed yn ddiweddar gan y Llywydd Young.

Bu William S. Phillips a'i wraig yma ar swper pan ddaethant i mewn; maent wedi myned i fyw i ddyffryn sydd yn mhellach nâ Box Elder. Mae llawer o'r Cymry wedi aros yma.

Mae yn dda genyf glywed eich bod yn mwynhau iechyd da, yr hyn sydd yn fendith fawr. Yr ydym fel teulu yn cofio atoch, yn enwedig eich Sarah anwyl. Mae teuluoedd y Brodyr Jones a Daniels yn iach. Cofiwch fi atynt yn fawr.

Hyn oddiwrth eich anwyl wraig,

SARAH JEREMY.

---

## RHYBUDD I YMFUDWYR.

DAETH yr hyn a ganlyn i law pan y mae y rhifyn hwn yn myned i'r Wasg.

*Lerpwl, Ion.* 30, 1855.

O herwydd prinder anghyffredinol o longau i hwylio i Philadelphia, ni allaf anfon ymaith y llongaid gyntaf o Ymfudwyr cyn diwedd Chwefror, neu ddechreu Mawrth. Er hyny, parhaed yr ymgeiswyr i anfon eu henwau a'u harian i mi, ac mi a wnaf yr hyn a allaf i anfon ymaith yr ymfudwyr ar yr amser a ddymunant. Mae genyf ddigon o ymgeiswyr eisoes i lanw un neu ddwy o longau, ac anfonaf yr Ymfudwyr i'r un fan, yr un amser, hyd y bydd yn bosibl. Dylai yr Ymfudwyr wneuthur eu trefniadau â myfi cyn y 15fed o Fawrth, o her-

wydd y mae o bwys iddynt hwy hwylio o'r porthladd hwn cyn diwedd y mis hwnw.

Na ddeued ymfudwyr yma cyn y danfonaf am danynt i ddyfod.

Gweled Bugeiliaid a Llywyddion yn dda i hysbysu hyn yn gyhoeddus drwy Gangenau yr eglwys, ar y cyfleusdra cyntaf.

FRANKLIN D. RICHARDS

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

EFALLAI y bydd yn hoff gan ryw fardd i roddi atebiad i'r Englyn canlynol:—

> Mawr y sŵn ymeirio sydd,—a gwresog
> Yn groesi drwy'r gwlydydd:
> Pwy wel y fan. pa le bydd
> Llanerch o le llonydd?

D. ROBERTS.

ENGLYN I'R CWMWL.

> Ys mwythawl was amaethon,—yw'r cwmwl,
> O'r cymmysg oruchion;
> Nwf i'w daith pan yf y dòn,
> I fwrw ei laith ddyferion.

YR UN.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O ION. 15 HYD Y 31.—John Williams, Ieu, £1; Chas. Harmon, £1 10s 8¾c; E. Middleton, £3 6s 6c; G. Roberts, £1 1s.

☞ Bu gorfod arnom adael allan lawer o bethau dyddorol o'r rhifyn hwn etto, a hyny o ddiffyg lle.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 4.] CHWEFROR 17, 1855. [CYF. VIII.

### ARAETH GAN Y LLYWYDD B. YOUNG.

*A draddodwyd yn y Tabernacl, D. Ll. H. Mawr, Chwefror 20,*
1853, *yn y prydnawn.*

[Parhad o dud. 36.]

YR oeddwn mor barod i fyned trwy y profiadau o'r erlidigaethau a'r ymlidiau yn Swydd Jackson ag oeddwn i fyned trwy y terfysgoedd yn Kirtland, Ohio, yn Swyddau Davies, Caldwel, Missouri, ac yn Illinois, ag oeddwn i ddod hyd y fan yma. A pha beth am hyny? Nis gwn am, ac ni welais un aberth a wnaeth y bobl hyn. Ni fu yr un rhagluniaeth o'r fath o eiddo yr Hollalluog ar nad oedd gymhwysiadol i santeiddio y pur o galon, a'u cyfoethogi â bendithion yn lle melldithion; i'w cyfoethogi, nid yn unig â bendithion daearol, eithr â choronau o ogoniant, anfarwoldeb, a bywydau tragywyddol yn mhresennoldeb Duw.

Yn mha le ynte mae yr aberth a wnaeth y bobl hyn erioed? Ni wnaethant ond cyfnewid sefyllfa waeth am un well, bob tro ag y symudasant; cyfnewidiasant anwybodaeth am wybodaeth, ac anmhrofiad am ei wrthgyferbyniad. Dymunwn i chwi syllu ar y Saint cyn eu halltudio o'u hymgasglfan cyntaf Disgwyliasant am derfyn ar bob pechod yn yr ymgasglfan. Y rhai hyn oeddynt fy nheimladau i fy hun, er na chesglais gyda hwynt ar y pryd; gorfod i mi fyned allan i bregethu,

rhag i'm hesgyrn i ddifa o'm mewn. Eithr mynegaf i chwi yr hyn a wnaethym. Dechreuais gwttogi fy masnach a'm trafodaeth, rhoddais heibio fy nghyfrif-lyfrau, gan ddywedyd, "Ni fydd arnaf eich eisieu mwy." Credais y dylasai y rhai a chwennychent fod yn Saint diledrith, wneuthur pob peth er lledaenu egwyddorion cyfiawnder a heddwch yn mhlith dynion, a bod yn hollol o un galon, ac o un teimlad.

Rhoddais ymaith fy hen lyfrau cyfrifon, o herwydd fy nysgwyliad y byddem yn un teulu, pob un yn chwilio am leshâd ei gymmydog, a'r oll o honom yn ymroddi i wneuthur yr holl ddaioni a ellid wneyd. Cyflawniad ffyddlon o'r egwyddor hon a goronai bobl Dduw â daioni gorlifiadol. Hawdd ydyw i ni feddwl pa fodd y dylasai pethau fod, ond yr anhawsdra yw, nid ydyw pethau bob amser fel y dymunem iddynt fod. Etto pe gallasai y Saint iawn farnu y pryd hwnw oddiwrth ymddangosiadau, medru deall agwedd pethau o'u hamgylch, yr oedd yn amlwg fod gofid a thrafferth yn ymhongian. Gwell oedd na welsont y cwmwl du ag oedd yn barod i dorri yn ffyrnig uwch eu penau.

Yn yr araeth fèr o ddim mwy nâ phump mynyd a roddais yn yr hen *fowery* pan y dirmygodd y barnwr hwnw y bobl hyn, yr oedd yno ddynion a deimlasant fwy yn y dysgwyliad am y canlyniadau o hono yn y dyfodol, nag a deimlodd y cyffredinolrwydd o'r bobl hyn yn nghanol y terfysg. Dychymygasant weled holl uffern wedi ei gollwng yn rhydd arnom, eu hunain wedi eu hongian, eu clustiau wedi eu torri ymaith, eu hymysgaroedd wedi eu tynu allan, a'r holl bobl hyn wedi eu dryllio yn ddarnau.

Wedi iddynt gael amser i fyfyrio, cawsant eu hunain yn fyw o hyd, ac heb eu niweidio, er eu mawr syndod. Dyoddefasant gymmaint a phe buasent wedi eu danfon i eithafion y pwll diwaelod. Dyoddefasant hyny oll o herwydd i mi ddweyd wrth y dyn llygredig hwnw y dylasai gael ei droedio allan o'r Diriogaeth am ei drahausder a'i haerllugrwydd gwyneb galed. Gwn fod y bobl hyn wedi dyoddef mwy wrth y dysgwyliad am ofid yn feddyliol nag wrth fyned trwyddo yn weithredol. Fel yr helaetha Sant ofid dyfodol braidd yn annherfynol tuhwnt i'w gyrhaeddiadau, felly y tybiasant iddynt eu hunain helaethach nefoedd nag a gânt yn Seion yn y graddau presennol o'i

chynnyddiant. Nid ydych yn mwynhau y nefoedd a ddysgwyliasoch.

Bod dynolryw yn gwneyd camsyniadau yn y ddwy ffordd hyn sydd yn wybodus o raid i'r rhai a deimlasant weithrediadau gobaith ac ofn yn eu nhatur. Dyoddefa pobl fwy yn y dysgwyliad am angau nag a wnant yn angau ei hun. Y mae mwy o ddyoddefaint yn yr hyn alwaf yn ofid benthyccïol nag sydd mewn gofid ei hun. Ar y llaw arall, dysgwyliasoch fwy o Seion, mwy o ddedwydd iwch, a mwy o ogoniant yn y cnawd, nag a brofwch byth yn ystod y marwoldeb hwn. Mae y rhai ag ydynt dueddol o fyned i'r naill eithafion, braidd yn siwr o fyned i'r eithafion gwrthgyferbyniol, yr hwn bob amser a achosa siomedigaeth, naill ai yn ddymunol neu yn annymunol. Mae yr eithafion hyn wedi achosi cryn drafferth i'r Saint; ac y mae rhai o ddiffyg amynedd, ac ychydig o feddwl rhesymol, wedi beio am eu siomedigaethau lle na ddylasent. ac wedi gwrthgilio o'r eglwys heb erioed feddwl fod y bai ynddynt hwy eu hunain.

Ar y gwendidau hyn o eiddo y natur ddynol gweithia y diafol weithiau yn lled lwyddiannus. Ond, frodyr, nis gallwn gilio rhagom ein hunain. a thra yr arhoswn yn y tabernacl hwn, fe rwystrir ein gyrfa gynnyddol fwy neu lai gan wendidau andwyol y cnawd marwol. Yn mhen ennyd fe aiff ein cyrff i'n mham ddaear, a derbyniant adgyfodiad, a deuant yn ogoneddus; yna mwynhawn yr oll, a mwy nag y dichon i galon dyn ddychymygu am dano, oddieithr drwy ysbrydoliaeth yr Ysbryd Glân. Bydd hyn yn etifeddiaeth y ffyddloniaid.

Y mae llawer o le i ni oll i ymwellhau. Os dechreuwn o'r dydd hwn allan â gwneuthur yr holl ddaioni a allwn, a pheidio cyflawni un drwg mwyach, cyrhaeddwn yr hyn a ddymunem i'r brodyr bregethu am dano, ac ymdrechu ei sefydlu. Dymunaf iddo gael ei bregethu gan yr esgobion, y diaconiaid, a chan bob swyddog o fewn yr eglwys. Dymunaf i dadau ei ddysgu idd eu plant, a gofynaf i'r pwnc gael ei drafod gan holl gynnulleidfaoedd y Saint drwy y byd, h.y., GOSOD YMDDIRIED Y NAILL YN Y LLALL. Cymmerwch hyn yn destun os mynwch, a phregethwch arno mewn gair a gweithred, hyd nes y teyrnasa ymddiried y naill yn yn llall yn gyffredinol yn mhlith y Saint, ac yna fe gyflawnir yr hyn a ddymunaf weled.

Os chwennychwn sefydlu y fath ymddiried ag a fwynheir gan y Duwiau, ymadawn oddiwrth bob gweithred ddrwg, ac oddiwrth gynlluniad pob bwriad drygionus: na ormeswch byth ar iawnderau eich gilydd, eithr cynnalied pob un ei frawd yn y mwynhâd o'i freintiau a'i iawnderau; gan eu dal mor gyssegr-edig a'i iawnderau ei hunan. Os ydyw ymddiriediad wedi ei golli, dyna y ffordd ddiogelaf i'w adferyd.

Clywch hyny, chwi bregethwyr, chwi Apostolion a Phro-phwydi, chwi Henuriaid, Archoffeiriaid, a Degau-a-thrugain, chwi Offeiriaid ac Athrawon, Diaconiaid ac Esgobion—pob dyn a benyw yn Eglwys Duw drwy y byd,—dechreuwch bregethu yr ymddyddan hwn gartref, gan ddechreu gyda eich calonau eich hunain, taener ei ddylanwad cynhesol a chysur-lawn ar led fel pelydrau hyfrydlawn yr haul o deulu i deulu, hyd oni wneir Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf fel calon un gwr.

Dangosaf y modd i osod ymddiried y naill yn y llall, trwy gymmeryd yn esiampl blentyn pedair neu bum mlwydd oed. Caniatâ y fam i'r plentyn hwnw i berchenogi cist fechan, yn mha un y cadwa ei fân deganau; megys, bron binau, ysnodau, dillad delw, &c. Ystyrir hono gan yr holl deulu yn gist y plentyn. Yn awr gadewch i mi fyned i'r gist hono a chym-meryd unrhyw beth o honi heb ganiatâd y plentyn.

Mater dibwys iawn ydyw hyny, fel y meddyliai rhai; eithr dechreuwch gyda phwynt cyn lleied â hyna i greu ymddiried, a chynnydded o ychydig i lawer. Wragedd, gadewch ystorau eich gwŷr yn llonydd, os na throsglwyddasant hwy i'ch gofal. Wŷr, trosglwyddwch i ofal eich gwragedd yr hyn a berthyna iddynt, ac na chwilotwch eu cistiau heb eu caniatâd. Myfi a allaf ymffrostio yn hyn. Yr ydwyf wedi byw yn y berthynas briodasol yn agos i 30ain o flynyddau, ac ni fum erioed y dyn a agorodd gist fy ngwraig heb ei chaniatâd, oddieithr unwaith, a hyny i gael darlun ag oedd arnaf ei eisieu ar y pryd, ac nid oedd hi gartref i'w gyrhaedd i mi. Hwnw oedd y tro cyntaf erioed yr agorais gist yn fy mywyd a berthynai i'm gwraig neu fy mhlentyn.

Mae cist y plentyn bach mor gyssegredig iddo ef ag yw fy un innau i mi. Pe llwyr gyflawnid yr egwyddor hon gan bob dyn, benyw, a phlentyn yn mhlith y Saint, gwnelai hwynt yn

bobl fendigedig yn wir. Edrychem at ddiogelwch ceffyl neu ych ein cymmydog rhag trengu yn oerni y gauaf; a phe gwelem un dim o'i eiddo mewn perygl. byddem mor ofalus o hono a phe ei perchenogem. Ein hamcan fyddai diogelu pob peth a allem, o eiddo ein cymmydog a'n hunain.

Taled pob dyn ei gyfiawn ddyled. Cyhoeddodd Golygydd y y "Deseret News" draethawd yn y newyddiadur ynghylch peidio bod mewn dyled neb o ddim. Darllenwch ef, myfyriwch arno, a gweithredwch yn ei ol. Gallaf fod yn nyled pawb o bob peth; hyny sydd un ochr i'r mater, ac i ddau pawb yw y llall. Bwriadaf fod yn nyled pob dyn o garedigrwydd.

Yr wyf wedi siarad yn rhy faith, efallai. Rhoddais destun i chwi oll i bregethu arno, ac i weithredu yn ei ol drwy eich bywyd: cyflawnwch ef yn ffyddlon, ac efe a'ch llesola.

Bendithied Arglwydd Dduw Israel chwi, ac achubed chwi yn ei deyrnas yw fy ngweddi. Amen.

*Cyf.* WM. LEWIS.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH SAMUEL EVANS, GYNT O GANGEN MERTHYR.

*D. Ll H. Mawr, Medi* 26, 1854.

ANWYL FRAWD JONES,—Hyderaf eich bod yn mwynhau pob cysuron bywyd ac iechyd, a bod eich llafur yn llwyddo yn mhlith ein cydgenedl. Yr Arglwydd grasol a'ch llwyddo chwi a'ch Cynghorwyr, a'r lleill sydd yn llafurio yn ei winllan, yn nghyd a phawb o'r Saint yw fy nghysson weddi.

Yn awr, gosodaf ger eich gwydd ychydig o'n hanes fel teulu, Daethom dros y môr a'r afonydd yn ddiogel. Cychwynasom o Kansas ar y 3ydd o Fehefin, 1853, a chroesasom y *plains* yn llwyddiannus. Anfonodd y Llywydd Young eidion tew tua 25 o filltiroedd i'n cyfarfod ar y daith, a chafodd pawb eu gwala o gig. Daeth ef a'i Gynghorwyr, ac amryw ereill, i'n cyfarfod yn eu cerbydau ac ar eu ceffylau, a dygasant o'r Ddinas ryw ychydig o bob ffrwythau i ni a gynnyrchir yn y Dyffryn, yn nghyd â'r côr pres, pa rai a chwareuent o'n blaen o eneu yr *Emigration Kanion* hyd y Ddinas hon, lle yr arosasom am o gwmpas chwech wythnos. Cefais gynghor gan y Llywydd

Young i fyned i ddinas Filmore, ac mi a ufyddheais i'w gynghor, ac y mae Duw wedi fy mendithio yn y canlyniad. Yr oeddym y pryd hyny yn nyled y Gymdeithas Ymfudol, ac heb feddu dim, ond yn awr yr wyf yn berchen dwy iau o ychain, waggen, pedair buwch, pedwar o loi blwyddi, a phedwar o loi y flwyddyn hon, pedair o ddefaid, wyth o foch, ac yn agos i gant o ieir. Codasom ar ein tir 111 o fwseli o wenith, ac yr wyf yn ennill o 5 i 6 dollar yn y dydd yn gyffredin; ennillodd John Price a minnau 12 dollar y dydd yn y gauaf diweddaf; ennillodd Samuel a James o 3 i 4 dollar yn y dydd yn yr hâf diweddaf am fugeilio gwartheg. Y mae genym o 20 i 40 o fwsheli o Indian corn, 100 bwshel o bytatws, dwy waggenaid o squashes a phwmpkins.

Yr ydym yn byw yn ein tŷ ein hunain, yr ydym wedi gwneyd o 400 i 500 o gaws yn y flwyddyn hon, heblaw ymenyn. Felly, gwelwch fy mod yn cael fy mendithio tuhwnt i ddim a allwn ddysgwyl, ond ni fendithir neb heb gadw cynghor Duw. Mae y lle hwn yn cynnyddu yn gyflym mewn masnach a chelfyddydau.

Dymunwn fy nghofio at holl Saint Merthyr, yn enwedig y rhai sydd yn byw yn y Bedwaranfach, ynghyd a phawb o'm cydnabod. Dymunwn annog pawb o'm cydgenedl i gredu yr Efengyl, tra y mae hi yn cael ei phregethu iddynt, fel y gallont gael iachawdwriaeth bresennol a dyfodol.

Hyn yw'm dymuniad a'm gweddi yn enw Iesu Grist. Amen.

SAMUEL EVANS,

*Gynt o Bedwranfach, Merthyr.*

---

[Ymddengys amryw lythyrau dyddorol ereill o Utah mor fuan ag y caniatâ pethau ereill le iddynt.—GOL.]

---

## CYMMANFA LLANRWST.

MR. GOL.,—Cynnaliasom ein Cymmanfa yn Neuadd tref Llanrwst. Cawsom amser hyfryd, ond nid gwell nag a gawsom lawer tro o'r blaen. Cynnaliasom ein *Tea Party* y Llun canlynol; daeth tua 50 o'r byd yno, a threiliasom yr amser yn ddifyrus. Y Brawd Parry oedd yn gadeirydd. Rhoddodd W

Davies, Ieu., araeth ar "Ryddid," ac fe ychwanegodd J. Parry ar yr un testun. Yna canwyd "Happy the Day" â "Chyngherddon." Rhoddodd Thomas Roberts araeth ar "Ragorfreintiau Dyn," yna canodd gân ar "Gŵyn yr Amddifad," a chanwyd "March away to Zion."—Araeth gan J. Parry ar "Pa beth y mae y Saint yn gredu."—Adroddwyd pennillon ar "Hynodrwydd yr oes hon."—Cân, "Come to the mountains of Ephraim." —"Cwyn yr annuwiolion o herwydd gwrthod gwrando," yr hwn a gyfansoddais wedi darllen "Peidiwch a'u Gwrando." —Cân "O Babel greulawn," &c.—Araeth ar "Gwymp y Byd" ac "Arwyddion yr Amserau," gan R. Roberts. Talodd John Parry ddiolchgarwch i'r gynnulleidfa, a chanwyd "Nos Da."

Cafodd pawb eu boddio yn dda iawn, ac ymddygodd pawb yn weddaidd, ac os cynnaliwn gyfarfod o'r fath, bydd llawer yn fwy y tro nesaf, meddâi y bobl. Yr oedd Ysbryd yr Arglwydd yn helaeth yn ein plith, a chredaf fod yr oll er gogoniant i Dduw.

Mae y Saint a'r Swyddogion mewn sefyllfa dda, ac wedi addunedu dileu dyled y llyfrau o hyn i ben y chwarter.

Terfynaf yn awr gyda chofio atoch chwi a'r Henuriad Daniels.

Yr eiddoch yn Nghrist,

RICHARD ROBERTS.

---

## ANSAWDD ARWYDDION YR AMSEROEDD.

OCH! beth ydyw'r cynhwrf a'r cyffro
Sy'n mhlith holl deyrnasoedd y byd,
Paham y terfysga'r cenedloedd,
Mewn ysbryd rhyfeloedd a llid;
Mae'r byd, mae'r byd, fel crochan berwedig i gyd.

Cenedloedd yn erbyn cenedloedd,
Sy'n codi mewn digter i gyd;
Cynllwynant a lluniant yn greulon,
I ollwng gwaed dynion mewn llid;
Daeth awr, daeth awr, barn Duw ar Genedloedd y byd.

Och! dyma amseroedd tra blinion,
A'u harwydd a dystia fod Duw

Yn ddigllon, dïalgar, a chreulon
Wrth bob anufyddion sy'n fyw;
Och! gwae, och! gwae, dechreuodd awr barn y Duw byw!

Digllondeb tra chreulawn sy'n cyneu,
Yn mynwes Duw'r nefoedd yn awr;
A'i ddialedd sydd drwm ac ofnadwy,
Yn difa trigolion y llawr;
Och! daeth, och! daeth, awr barn a dialedd Duw mawr.

Y ddaear sy'n crynu gan arswyd,
Y farn sydd yn dod ar y byd;
Cyn hir hi a symud fel meddwyn,
Mewn dychryn oblegid y llid;
Mae'r haint, mae'r haint, yn difa fel llewod mewn llid.

Gwyn fyd, O gwyn fyd preswylyddion,
Sy'n trigo yn Seion heb fraw;
Llonychant a mawr ymhyfrydant,
Nid ofnant y llid sy' ger llaw;
O gwnant, O gwnant, heb ofni y llid sy' ger llaw.

*Fflint.* T. CONWAY.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, CHWEFROR 17, 1855.

NEWYDDION O UTAH.—Ar y 10fed o Dachwedd, cychwynodd y Llywydd Young, a gosgordd o tua 16 o bersonau, ar daith i ymweled â'r sefydliadau deheuol cyn belled â Dinas Manti, lle y pregethodd y Sul canlynol. Maent wedi adeiladu dwy amddiffynfa yno—muriau yr olaf o gerrig, yn 8 troedfedd o uchder, ac yn cyrhaedd oddiamgylch rhan fawr o'r ddinas. Fe gynghorodd y Llywydd hwy i'w hadeiladu yn 15 troedfedd, eu mhelinau llifio a malu oddi fewn iddi. Nos Sul pregethodd yn Fort Ephraim, sefydliad newydd 7 milltir o Ddinas Manti

yn cynnwys tua 30 o deuluoedd. Mae y llafur yn y fan hon ag yn Manti yn rhagorol o dda, a phob argoelion mai dyffryn San Pete fydd ystordŷ Deseret. Cafodd y Llywydd ymweliadau mynych gan *Arrapeen*, yr hwn oedd yn bur gyfeillgar.

Dychwelodd y Llywydd ar y 18fed, wedi teithio 276 o filltiroedd, a gadael yr holl sefydliadau mewn undeb a llwyddiant digyffelyb. Mae y gweithdŷ siwgr yn myned yn mlaen yn gyflym, a llaweroedd o adeiladau mawrion ereill wedi ymddyrchafu yn wyrthiol braidd, hyd nes y cyfnewidia ymddangosiad y trefydd a'r wlad i raddau yn barhaus. Mae y dyeithriaid a auafant yn Utah, wedi dechreu eleni fel arferol, eithr yn gynnarach i dorri tai, siopau, a lladrata anifeiliaid er eu cludo i California. Pasiwyd fod y sawl a elo i'r Mŵn gloddiau yn groes i gynghor yn ei ddiarddelu ei hun o'r eglwys drwy hyny. Mae *foundry* wedi cael ei sefydlu yn y ddinas, lle y bwrir llestri haiarn, &c. Cyrhaeddasai yr olaf o'r ymfudwyr cyn i'r gauaf ddechreu. Mae adeilad pwrpasol i roddi cynnysgaethiad yn cael ei adeiladu ar randir y Deml, ac yn agos a'i gwblhau.

---

*Cymmanfa Gyffredinol Dinas y Llyn Halen Mawr*,—A gynnaliwyd ar Hyd. 6, 7, a'r 8. Yr oedd y Tabernacl wedi ei orlenwi gymmaint nes y gorfuwyd y dyrfa i ymranu, a phregethwyd i'r miloedd a ymgrynhoisant wrth yr ochr ogleddol i'r Tabernacl gan amryw o'r Deuddeg, tra y dysgai y Llywydd, ei Gynghorwyr, ac ereill, egwyddorion mawreddog er mawr les a llawenydd i'r dyrfa mewnol; llawer o'r rhai a ddeuant, ond odid, trwy yr Udgorn wedi eu ceir.

Fel arferol, pleidleisiwyd yn unfrydol, er lliosoced oeddynt, i ufyddhau i'r holl awdurdodau eglwysig, ac arwyddwyd cymmeradwyaeth ddieithriad i'r holl fesurau a drefnwyd, a phenderfyniad cyffredinol i gyflawni pob cynghorion a roddwyd iddynt; yr oll o'r rhai a ddanghosasant yn eglur gynnyddiant undeb y Saint, ac mai adeiladiad y Deyrnas yw y nod uwchaf ac egluraf o flaen eu golygon—prif nodwedd eu cymmeriadau, ac ymffrostwaith duwiolion Duw yn ei Seion.

Dywenydd mawr i'r Saint crwydredig trwy y byd fydd deall fod ymdrechiadau teilwng yn cael eu gwneuthur yn Seion ar eu rhan, drwy gyfraniadau i Drysorfa y Gymdeithas Ymfudol Barhaus—mawr yw sêl y Llywyddion o'i phlaid, a'u hawydd i'w

dyledwyr dalu iddi, fel y gallont anfon am y tlodion o gyrau y byd adref drwyddi.

Gohiriwyd y Gymmanfa dan wenau amlwg yr Ysbryd dwyfol a bendith y Llywydd Young, hyd Ebrill 6fed, 1855.

---

*Y " Tafleni Cyfrifiadol."*—Dymunir ar y Llywyddion i weled fod y *Tafleni* yn cael eu defnyddio yn mhob Cangen yn rheolaidd ; mae lle i ofni oddiwrth yr effeithiau fod esgeulusdod yn bod. Dylai pawb gyfranu at yr oll a ofynir ynddi. Y mae cadw cyfrifiad felly yn creu ymddiried yn y cyfranwyr fod coffadwriaeth yn cael ei gadw o'u cyfraniadau, ac yn rhoddi gwell cyfleusdra iddynt hwythau drwy dderbyn eu cyfraniadau bob yn ychydig yn wythnosol, na phe y gofynid swm mawr pan bo ei anghen. Y tlodion sydd yn cael y *fraint* o gario gwaith Duw yn mlaen, a gwyn fyd y ffyddlon yn hyny ; prawf Duw, drwy ad-dalu yn ddwbl yn ol, y gall gario ei deyrnas yn y blaen drwy offerynau gwael a chyfraniadau bychain ac aml ei blant tlodion. Megys y gwna amledd diferion y moroedd mawrion—amledd mymrynau y ddaear fawr, ac mai momentau a gyfansoddant dragywyddoldeb, felly y gwna dimeuau a cheiniogau wythnosol y Saint tlota swmiau mawrion pan ynghyd, er talu dyled eglwys Dduw—adeiladu Teml—ymfudo lluoedd i Seion, neu unrhyw alwad teilwng arall a ddaw atynt. " Na ddiystyrer dydd y pethau bychain," eithr dysger gyfranu yn ol y gallu, rhag bod yn debyg i'r llyffant a elai am y cyntaf â'r falwoden i ben y pren, yn y ddammeg. Nac oeder cychwyn!

---

## Y DRYSORFA YMFUDOL BARHAUS.

*(Allan o'r " Millennial Star.")*

Hysbys i ni yw fod yma lawer o Saint yn y gwledydd hyn ag ydynt wedi byw yn ffyddlon am hir amser, ac wedi dyfal gyfranu eu hadling tuag at bob gwaith da, ac yn mhlith pethau ereill cyfranasant yn ddifeth at y D. Y. Barhaus, ac etto y maent heb eu casglu adref i Seion, eithr arosant fel carcharorion gobeithiol, yn dysgwyl dydd eu prynedigaeth. Tra yr arosant yn awyddus am eu hamser, gwelsant ereill o'u hamgylch yn cael eu cynnorthwyo i ymfudo, y rhai nad ydynt

debygent hwy, wedi dyoddef yr hyn a ddyoddefasant hwy, nac ychwaith wedi talu cymmaint i mewn i'r Drysorfa.

Dichon y dechreua rhai feddwl eu bod yn eu ffyddlondeb a'u tlodi wedi eu llwyr anghofio gan y Llywyddiaeth yma, ac yn Seion. Pan ddeallir y rhesymau o herwydd pa rai yr ymddengys felly, ynghyd a tharddiad gwreiddiol y cyfryw ymresymiadau, ac eu hystyrir yn well, hyderwn yr attelir unrhyw deimlad annymunol ynghylch y pwnc hwn, a achosa y fath hyder dwys yn nghalonau y Saint

Yn flaenorol i'r trefniadau estynedig presennol, penodwyd y rhifedi a ganiatâwyd i bob Cynnadledd eu hanfon allan, yn ol y gwahanol symiau a gyfranwyd ganddynt.

Mae rhifedi y rhai a anfonir am danynt gan Lywydd y Gymdeithas eleni yn llawer mwy nag y gallasai yr amrywiol Gynnadleddau anfon yn ol y drefn flaenorol, drwy eu cyfraniadau presennol, heb eithriad braidd.

Y flwyddyn ddiweddaf talodd £13 gludiad person drwyodd i'r Dyffryn, a benthycid £3 i gynnorthwyo y rhai nad oedd ganddynt ond £10. Yn y ffordd hono defnyddid £13 yn nwylaw y cwmpeini yn y fath fodd ag yr ymfudai bedwar person â'r drydedd o gludiad un arall; tra nad ymfudent ond un trwy yr hen drefn, heb eu rhanu yn gyffelyb, yr hyn a wnaethpwyd weithiau.

Y gost a gyfrifir wrth ymfudo person y tymmor hwn yw £15; ac yr ydym yn cynnyg rhoddi benthyg £3 i'r rhai nad allant ond codi £12. Cluda £15 yn y ffordd hon bump o bersonau i Utah yn 1855. Drwy weithrediadau y drefn hon cynnyddir yr elw a geir drwy gyfraniad pob ceiniog i'r Drysorfa Ymfudol Barhaus bum waith gymmaint. Danfonir pump o bersonau i Seion yn lle un, i adeiladu tai, cynnyrchu ŷd, ac adeiladu dinasoedd, er cannaliaeth, cysur, ac amddiffyniaeth y lluoedd sydd i'w dilyn, ac i gynnorthwyo i ymbarotoi erbyn y dygwyddiadau hynod ag ydynt eisoes yn taflu eu cysgodau o'u blaen. Efallai y dywed rhai, "Mae hyna yn dda, ond nid yw yn fy nghynnorthwyo i o'r gormes ag wyf yn ddyoddef, nac ychwaith yn fy mreintio ag un fendith gyda'r Saint yn Seion." Ymresymwn ar y pwnc yn y lliw gwaelaf sydd resymol i syllu arno. Dywedwn fod y casgliadau mewn llawer enghraifft yn cael eu rhanu gan y Cynnadleddau rhwng y rhai a feddant

mewn rhan, ddigon i'w cludo eu hunain, a bod y drefn ragorol ei ffurfiad hon ddim yn danfon ond tri pherson, tra na ddanfonasid ond un fel arall; ni ammheua neb, mae yn debyg, nad oes un o'r tri o leiaf mor deilwng â'r rhai a arosant. Caniatewch hyn, a chawn fod yr un faint o ddaioni yn cael ei wneuthur yn awr drwy anfon yr un hwnw ag oedd gynt, a dau ereill yn cael eu hanfon a allant fod lawn cystal â'r trydydd.

Yn awr Saint, pa fodd y mynwch chwi iddi fod? Un peth sydd yn sicr, nad all neb o honom gael ein ffordd ein hunain, yn annibynol ar yr Arglwydd, yn y deyrnas hon. Pe yr ymgynghorid a'ch teimladau personol chwi a minnau, yn annibynol ar bob ystyriaeth arall, a bod y moddion o fewn cyrhaedd er ein boddio, ni fyddai un Sant y Dyddiau Diweddaf yn Mhrydain yn niwedd 1855. Ond nid felly y trefnodd yr Arglwydd; neu os trefnodd felly, ni chyrhaeddodd hyny ein gwybodaeth ni etto. Y goreu o gwbl a allwn ni wneyd, yw gweithio yn yr amser, y lle, a'r ffordd mae yr Arglwydd yn ei ragluniaeth a thrwy ei Ysbryd yn teimlo i gyfarwyddo.

Er ei fod yn debyg fod y drws yn agor yn llydanach lydanach o hyd i'r Saint i gasglu o'r gwiedydd hyn, etto gwaith graddol ydyw, sydd yn gofyn amser, llafur, ac arian, ac ni ddysgwyliwn derfyn ar waith yr ymgasgliad am beth amser i ddyfod.

Danfonir am lawer o bersonau yn awr gan eu cyfeillion yn Utah, y rhai a aethant allan hyd yno, a fendithiwyd yn eu llafur ac a roddasant gyfran o'u meddiannau i ymfudo cyfeillion o'r wlad hon drwy Gwmpeini y D. Y. Parhaus. Mae hyn mewn un ystyr wedi ymhelaethu gweithrediadau y Cwmpeini, ac fe ellir tybied am lawer o bersonau a ymfudir fel hyny, mai drwy y rhoddion a gyfranir yma eu hymfudir.

Ni ffurfia y ddau gyfrwng uchod ond rhan o Drysorfeydd y Cwmpeini. Cyfranir cyfran helaeth gan y Saint yn y Dyffrynoedd i'r Drysorfa gyffredinol; ac nis gall neb am eiliad ymholi ai iawn ydyw eu bod i gael eu defnyddio yn gyfangwbl wrth reolaeth Cyfarwyddwyr y Cwmpeini.

Yn olaf, er diweddgloi y pen yma o'n pwnc, dywedwn fod llawn cymmaint o'r rhai anghenus wedi eu dewis i gael eu hanfon allan gan y D. Y. Barhaus, ag a dreuliant yr oll a gyfranwyd gan Saint y wlad hon.

Hyderwn ein bod yn awr wedi dweyd digon i ddangos defnyddioldeb y mesurau sydd yn awr mewn gweithrediad. Sylwn yn nesaf ar rai o'r egwyddorion a gynnwysir yn y pwnc hwn, fel y cryfhaer y gweiniaid, ac y cynnydder eu ffydd.

Y mae un brif egwyddor oddiar yr hon y penderfynodd yr Arglwydd na chaiff ei bobl dynu eu golygon, eithr ei bod hi idd eu mheddiannu yn gyfangwbl, a'u blaenori yn mhob peth a feddyliant, a wnant, ac a ddywedant, a hyny yw, mai rhaid fydd aberthu yn barhaus bob lleshâd personol, os bydd yn anghenrheidiol, er cyflawni y daioni cyffredinol mwyaf.

Gelwir yn barhaus ar y Saint i aberthu eu golygiadau personol i'r rhai hyny sydd goruwch iddynt, eu hamser a'u mheddiannau i chwyddo y D. Y. Barhaus, y Rhoddion at y Deml, ac i hwyluso pob amcan arall sydd er lleshad cyffredinol. Amser i ymegnïo ac aberthu ydyw hwn, ac i'r rhai hyny yn unig a feddiannant eu heneidiau drwy amynedd mewn gwneuthur yn dda, y daw y dydd yr hwn a fydd yn llawn llawenydd a bendith.

Nis gwelwn byth mo holl effaith ein hymdrechiadau, hyd oni allwn ganfod egwyddorion mawrion achos ac effaith, â pha rai y gweithreda yr Arglwydd yn ei ragluniaeth at ei bobl. Yr ydym yn taflu yr ychydig geiniogau neu sylltau a allwn eu hebgor i mewn i'r Drysorfa Ymfudol Barhaus; meddyliwn nad ydynt ond ychydig, ac nad ydynt braidd yn ganfyddadwy yn y swm cyffredinol. eithr nid ydynt ddim yn llai yno, ac fe'u defnyddiwyd i gynnorthwyo rhyw Sant ffyddlawn tua Seion, lle y llafuria yn ddiwyd i barotoi y ffordd i ereill, ac mewn amser ad-dala, nid yn unig yr hyn a dderbyniodd, eithr cyfrana yn haelionus er rhyddhâd i ereill. Cynnorthwyant hwythau ychwaneg yn eu tro, ac fel yr ymdreigla amser yn y blaen, ac y cynnydda yr ymgasgliad, cynnydda yr ychydig a roddwyd mewn ffydd a gostyngeiddrwydd hefyd, a'r daioni a wnaed a amlhâ yn barhaus. Daw y dydd pan y llawenhâ holl ddiwyd weithredwyr daioni yn ffrwyth eu llafur, a digonir eu heneidiau.

Nid yw yn anghenrheidiol i'r Saint edrych i'r dyfodol yn unig am eu gwobr mewn gwneuthur yn dda, canys mae yr Arglwydd yn bendithio y rhai ydynt ffyddlon yn nghyflawniad pob dyledswydd y deg canwaith cymmaint bob dydd a â heibio,

ac yn santeiddio eu gwasgfeuon a'u haberthau er eu lleshâd presennol yn ogystal a'u lleshâd dyfodol. O'r hyn leiaf, felly y profasom ni.

Ychydig o Saint, ar gyfartalwch, sydd wedi marw yn y wlad hon, hyd yn hyn, o'r clefydau heintus a ysgubasant ymaith gynnifer o'u hamgylch. Yn hyn, gweler rhag-ofal yr Arglwydd dros ei bobl. Etto ni all pawb weithredu ffydd ddigonol i orthrechu yr elfenau marwol a'u hamgylchynant. Wel, beth os nad allwn, ni waeth pa bryd, pa le, na pha fodd y byddwn farw, os byddwn yn ffyddlon, ac os cymmerir ni ymaith tra yn cyflawni ein dyledswydd; yna ni ddichon i holl alluoedd y tywyllwch attal gwobrwy ein gweithredoedd da rhag ein canlyn.

Er y dichon i chwi fyned tuhwnt i'r llen, a gosod eich cyrff i lawr yn y wlad hon, yn mlaen yr hwylusa gwaith yr Arglwydd, ar gynnydd mawr yr â yr ychydig a allwch chwithau wneuthur —adeiladir temlau, cesglir Israel, a cheir yn mhlith ei luoedd nerthol un a ymafla yn, ac a gwblhâ eich gwaith anorphenedig chwi. Yna y medwch mewn cyflawnder danteithlawn o ffrwythau eich llafur a'ch lluddest presennol, a'r bara a deflwch yn awr ar y dyfroedd a ddychwela i chwi yn mhen llawer o ddyddiau, wedi cynnyddu deg canwaith cymmaint.

Mae dynion yn rhy barod i farnu gwaith yr Arglwydd wrth eu golygiadau a'u dychymygion eu hunain, a pheidio eangu digon ar eu meddyliau i ganfod y gwaith mawr sydd o'u blaen. Mae yr Arglwydd wedi ail estyn ei law i gasglu Israel, a gwybydded y Saint yn sicr mai pan y bydd pethau yn barod y gweithreda Efe mewn modd cyferbyniol i'r gwaith mawr a fydd i gael ei wneuthur, ac ni fetha oi gynlluniau Ef o eisieu moddion. Teyrnasoedd a deimlant ei allu yn gweithredu arnynt er gwaredigaeth ei bobl Ef, a chymhwysir golud dirfawr cenedloedd lawer at y cyflawniad o'r amcan hwn, ac ni fyddant alluog i attal ei law Ef. Nid yw y D. Y. Barhaus ond eginin sefydliad, gallu yr hon a amgylchyna y byd, ac a orfaela brif ffyrdd a llyngesau cenedloedd i gyflawni bwriadau yr Hollalluog.

*Cyf.* William Lewis.

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG.

Ar y Sul, y 31ain o Ragfyr, cynnaliwyd y Gymmanfa uchod, yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr. Yn bresennol yr oedd y Llywyddiaeth Gymreig, ac amryw o Lywyddion y Cynnadleddau, &c.

Wedi dechreu y cyfarfod boreuol, hysbysodd y Llywydd Robert Evans ei ddymuniad ar fod Duw trwy ei Ysbryd i lywyddu yn y Gymmanfa hon. Profodd yn eglur fod dyfod i Gymmanfaoedd yn llesbâd mawr i'r Saint, er iddynt allu teimlo yn ddedwydd. Dywedai nad oedd pawb, o bosibl, yn teimlo mor ddedwydd â'u gilydd yno; y rhai sydd yn meddu y teimladau goreu yw y rhai sydd wedi bod yn fwyaf ffyddlon i adeiladu teyrnas Dduw yn y chwarter mynedol; y mae Duw yn bendithio y cyfryw â theimladau cysurus. Os oes yma rywrai ereill a ddymunant deimlo yn ddedwydd, bydded iddynt ufyddhau i gynghorion Duw trwy ei weision, oblegid oddifry mae y teimladau hyny yn deilliaw oddi wrth Dad y goleuni.

Yna galwyd ar y Llywyddion i ddweyd sefyllfa eu Cangenau, yr hyn a wnaethant yn llawen. Tystiasant eu bod hwy â'r Saint mewn teimladau rhagorol, ac mewn awydd mawr i fedyddio. Bu ffyddlondeb canmoladwy mewn amryw fanau i ddosparthu traethodau, ac y mae ffeithiau yn profi mai yn y lleoedd hyny y mae mwyaf o fedyddio, ynghyd a phob ffrwythau da ereill.

Dangoswyd cymmeradwyaeth unfrydol i holl Lywyddiaethau yr Eglwys, a chafwyd cymmeradwyaeth hollol i bob mesurau a osodwyd gerbron, ynghyd ag addunedau diysgog i'w cario i weithrediad buan.

Yna sylwodd y Llywydd R. Evans ar y fraint a gawsom o glywed yr Efengyl yr hon sydd yn ddadguddiad. Wedi ufyddhau i'w gofyniadau yr ydym yn derbyn ei bendithion; wedi credu a chael ein bedyddio, ynghyd a chael arddodiad dwylaw y derbyniasom yr Ysbryd Glân, a chael gwybodaeth mai dyma waith Duw. Nid oeddem yn gwybod mai hon oedd Efengyl Crist pan yn cael ein bedyddio, eithr wedi hyny ni a gawsom dystiolaeth mewn nerth ac mewn sicrwydd mawr. Felly hefyd gyda yr holl orchymynion ereill ag sydd genym i'w cadw: wedi eu cyflawni y cawn ein gwobrwyo, ac y gwelwn eu mawr werth.

Sylwodd hefyd ar y cyssylltiad sydd rhwng y Saint â'u gilydd ac â'r nefoedd, o'r Llywyddiaeth yn Seion hyd y Llywyddiaeth yn Nghymru; fod Duw yn bendithio y Saint trwy y dynion hyn, pa rai sydd yn dal yr Offeiriadaeth. Mae Duw yn rhoddi ei Ysbryd i'r Offeiriadaeth, ac yn ei roddi i'r Saint a ufyddhant iddynt. Felly dysgwylia Efe weled ffrwythau arnom oll, trwy wneuthur fel y mae ei weision yn ein dysgu Nid oes cymmeradwyaeth gan Dduw i neb am wneyd yr hyn a welont hwy yn dda. Nid felly yr oedd Iesu Grist, dywedai nad oedd Efe hyd y nod yn llefaru o hono ei hun, ond yr hyn a ewyllysiai ei dad iddo Felly y dylem ninnau oll wneuthur, fel y mae yn dywedyd wrthym. Nid oes neb o'r brodyr yn gofyn i mi beth sydd i wneyd i'r rhai sydd yn credu. &c., y maent yn gwybod mai trwy eu bedyddio y cânt eu bendithio; felly y dylem ninnau ddeall mai trwy wneuthur fel ein dysgir y cawn y fendith.

*(I'w barhau.)*

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CYMMANFAOEDD Y GOGLEDD.—Cynnelir Cymmanfa Sir Flint ar y 4ydd o Fawrth, Dinbych ar yr 11eg, Dyffryn Conwy ar y 18fed, a Sir Feirionydd ar y 25ain.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O CHWEF. 1 HYD Y 9.—Thos. D. Evans, 12s.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 5.] MAWRTH 3, 1855. [CYF. VIII.

## SYLWADAU,

*Gan y Llywydd Heber C. Kimball, Medi 17, 1854.*

AETH cryn amser heibio er pan y llefarais wrth y gynnulleidfa yma, a theimlaf fel y mae yn o debyg y teimla llawer ereill, po hiraf yr eisteddaf, a pho leiaf a ddywedaf, po fwyaf ym haflonyddir gan ofn. Ai ofn Duw yw? Nage; math o ofn bydol ydyw, —ofn dynol. Yn awr nid oes berson braidd ar nad yw yn meddu y teimladau hyn ar brydiau. Yr wyf yn cofio clywed y Brawd Joseph Smith yn dweyd lawer gwaith fod ei giniau wedi crynu yn aml fel eiddo Belsasar, pan y cyfodai i lefaru gerbron y byd, a cherbron y Saint.

Cefais addysgiadau yn yr hanes a roddodd y brawd Staines, er nad allasai adrodd yr holl brofiad a gafodd oddiar pan y daeth i'r eglwys hon, er ys tua deuddeg neu bedair blynedd ar ddeg yn ol. Pe gallasai ei gofio oll, a'i adrodd, teilyngai ei brofiad ein sylw manylaf. Y mae yn dda, ac fe'm llesolwyd ganddo. Llesolir fi gan bob peth sydd yn dda; ac mewn ffaith, llesolir fi gan lawer iawn o bethau nad ydynt mor neillduol o dda, canys nid oes dim a welaf ar y ddaear, neu yn y nefoedd, ar nad yw yn perthyn i mi, ac yn rhoddi i mi brofiad. Pan welaf ddyn yn cymmeryd ffordd gyfeiliornus,—y ffordd a arweinia i farwolaeth, y mae yn brofiad i mi, ac agora fy llygaid i ochelyd y cyfryw lwybr. A dysgir ni, os na ddysg dyn drwy addysg, na thrwy esiampl, y bydd ganddo i ddysgu drwy

ei ddyoddefaint. Wrth weled esiampl ddrwg dyn arall y gallaf finnau ochelyd y cyfryw lwybr, a bod yn ddiangol rhag ei drafferthion. Bid siwr, y bydd ei brofiad yn ysgol-feistr i mi; canys os peidiaf ag ymlwybro yr un ffordd, ni ddyoddefaf yr un anhawsderau ag ef.

Yn ystod fy holl ymarweddiad, o'r dydd y clywais gyntaf am Formoniaeth, er ys mwy nag ugain mlynedd yn ol, ni fu genyf ond un dymuniad, a hyny yw, i wneyd yr hyn ym cynghorir, ni waeth i mi pa un ai trwy lais Duw, neu lais ei weision, yr un yw yr oll i mi. Pan yr elom allan fel gweision Duw, ni a ysbrydolir gan yr Ysbryd Glân, ac fe lefara yr Ysbryd Glân y gwirionedd, a hwnw yw gair Duw,—dadguddiad Iesu Grist a llais Duw atom ni ydyw.

Pan y gorchymyna Efe i ni fyned allan a phregethu ei air, a chyhoeddi ei efengyl, ffydd, ac edifeirwch, a bedydd er madd-euant pechodau, ynghyd ac arddodiad dwylaw er derbyn dawn yr Ysbryd Glân, dyweda ei fod yr un fath â phe ei lleferid drwy ei lais Ef ei hun, ac fe arhosa yr un condemniad ar y byd, ac ar y bobl hyny a'i clywant ag nad ydynt yn ei garu, ei gadw, a rhodio ynddo. Hon yw fy nhystiolaeth, ac hon yw y dystiol-aeth a ddadguddiodd Duw i ni fel pobl. Pan y danfonodd allan ei ddyscyblion yn ei ddydd Ef, dywedodd "Os na wrandawant arnoch chwi, ni wrandawant arnaf innau; ac os na ufyddhant i chwi, ni ufyddhant i minnau, ac os na ufyddhant i mi, ni ufyddhant i fy Nhad." Felly y mae gyda ni, os na wrandewch ar, ufyddhau i, ac ymarfer â'r pethau a osodir ger eich bron gan y Llywydd Young, a chan ei frodyr, ni ufyddhaech i Dduw pe y llefarai o'r nefoedd. Paham? O herwydd mae yr Hollalluog wedi ei benodi ef yn gynnrychiolwr iddo, yr un cystal ag y penodasom ni Doct. Bernhisel yn gynnrychiolwr drosom ni i'r *Congress*, i osod ger eu bron yr hyn bethau a ofynwn mewn cyssylltiad ag ef. Nid aeth i wneuthur ei ewyllys ei hun, eithr ewyllys y rhai a'i danfonodd ef. Felly y mae gyda y Llywydd Young. Efe yw ein Pen, efe yw ein Llywydd, ein Prophwyd, a'n Harweinydd, ac yn ol penodiad Llywodraeth yr Unol Daleithiau, efe yw ein Llywodraethwr. Yr oedd felly yn flaenorol mewn cylch eglwysig. Ei lais yntau i'r bobl hyn yw llais Duw, yr un gymmaint ag oedd Moses yn Dduw, pan y galwodd ac y gosododd Duw ef i lywyddu yn mhlith plant

Israel. Ei lais ef oedd llais Duw i'r bobl hyny, a phan na wrandawasent, dyoddefasant y gosp. Darllenwn i ddwy fil ar hugain syrthio mewn un diwrnod o herwydd eu gwrthryfel. Gwrthryfelasant yn erbyn Moses, yn erbyn ei gynghor, ac yn erbyn ei lywodraeth; yr hyn oedd, bid siwr, yn wrthryfel yn erbyn y cymmeriad a'i danfonodd ef. Duw a'i danfonodd, ac a'i hawdurdododd; ac atom ni mae y Llywydd Young wedi ei anfon, ei ordeinio, a'i benodi, gan yr Hollalluog, yn olynydd i Joseph, i arwain y bobl hyn. Dymunaf i'r byd wybod hyn,—i'r bobl sydd yn dyfod i mewn i'r dyffrynoedd hyn yn anghredinwyr mewn Mormoniaeth i gael gwybod pa beth a gredwn. Y mae yn debyg nad oes ond ychydig ddynion yn yr Unol Dalaethiau ar na wyddant ein bod yn edrych at y Llywydd Young fel ein harweinydd, ein prophwyd, a'n dadguddiwr. Dymunwn i chwi ddeall fy mod i yn wirioneddol, a chredaf fy mod wedi ei wneyd i hollol foddlonrwydd y bobl hyn. Mi a'i profais drwy fy ngweithredoedd, o'r dydd y daethym i mewn i'r eglwys hyd yr amser presennol.

Yr oedd Joseph Smith yn Brophwyd i Dduw. Cafodd ymweliadau angylion santaidd o'r nefoedd, y rhai a'i hawdurdododd i drosglwyddo yr efengyl i'r genedl hon, cynllun yr iachawdwriaeth, a bywyd tragwyddol, yr hon a wna achub pob dyn a benyw a'i credo ac a'i hymarfero yn eu bywyd,—yn eu mynediad allan, a'u dyfodiad i mewn. Yr wyf yn gwybod y gwna hi eu hachub. Cawsoch fy nhystiolaeth, a'm tystiolaeth sydd wir, a chwi a'i profwch, bob enaid o honoch a'i hymarfera.

Credwn fod y llyfr hwn, (y Beibl,) yn gyfrif hanesyddol o Iesu Grist, ei Apostolion, a'i Brophwydi. Credwn ei fod yn gyssegredig, ac mae mwyrif dirfawr y bobl hyn yn ei ymarferyd yn weithredol, ac nid oes dyn na benyw yn yr eglwys hon yn ei gredu ar na fedyddiwyd er maddeuant o'u pechodau, a hyny hefyd trwy drochiad, wedi eu claddu gyda Christ trwy fedydd. Wedi gwneuthur hyn, a chael arddodiad dwylaw, galluogir hwy i dderbyn dawn yr Ysbryd Glân, ac y maent wedi eu hawlio ag aelodiaeth yn eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf. Os anrhydeddant yr aelodiaeth hon, gan fod yn ffyddlon, hwy a barhânt ynddi, nid am amser yn unig, eithr am dragywyddoldeb,—yn oes oesoedd. Fy nheimladau a mhenderfyniad i yw parhau hyd y diwedd.

Yr wyf yn awr yn fy mhedwaredd flwyddyn ar ddeg a deugain; yr wyf yn Sant y Dyddiau Diweddaf, yn gyflawn yn y ffydd, ac nid yn unig yn y ffydd, eithr y mae genyf wybodaeth o wirionedd y gwaith hwn. Gwn fod Duw yn fyw ac yn preswylio yn y nefoedd; canys yr wyf wedi gofyn iddo ugeiniau a channoedd o weithiau am bethau, ac yr wyf wedi eu cael. Onid yw hyn yn brawf go gadarn ei fod yn fy ngwrando pan y gofynwyf iddo am bethau ac y derbyniaf hwynt; ac onid yw hyna yn brawf ei fod yn fyw ac yn preswylio yn y nefoedd? Meddyliaf ei fod. Tybiaf ei fod yn byw yno, ni allasai fyw yn un man arall, eithr yn mha ran neillduol y mae yn byw nis gwn yn benodol, er nad yw Efe cyn belled i ffwrdd ag y tybia llawer. Y mae yn agos ar bwys, ei angylion yw ein cymdeithion, y maent gyda ni, ac oddiamgylch ogylch i ni, ac yn gwylied drosom; ac yn gofalu am danom, a'n harwain a'n tywys, ac yn gweinyddu i'n hanghenion yn eu gweinidogaeth, ac yn eu galwad santaidd i ba un eu penodwyd. Hysbysir ni yn y Beibl fod angylion yn ysbrydion gwasanaethgar i weinyddu i'r rhai hyny a fyddant etifeddion iachawdwriaeth.

Mewn gwirionedd, meddaf, edrychwch ar y byd anghredinol, neu ynte lawer o honynt, credant yn awr mewn *spiritual knockings*, *spiritual communications*, a *spiritual rappings*, a gofynant i'r un ysbryd am hyn a'r llall, am wybod y naill beth a'r llall; ac "Oni achoswch chwi i'r bwrdd hwn daflu ei goesau i fyny, a'r gadair hon i ddawnsio, a churo fan yma a churo fan draw?" Credant hyn oll, eithr ni chredant y gall Duw gyfrinachu. Ac ar yr un pryd mae y rhai a gyfrinachant â hwy yn ysbrydion halogedig, a gallant wybod hyny, ac etto dywedant y medrant lefaru o'r nefoedd, ac hysbysu y naill beth a'r llall, a dweyd wrthynt pa le mae eu cyfeillion. Os gall ysbrydion drwg wneyd hyn, dymunaf wybod, ar yr un egwyddor, os nad oes gan y cyfiawnion allu i gyfrinachu â phlant dynion? Ac onid oes gallu gan Dduw i'w wneuthur? Oes, y mae. Mae yr holl fyd yn awr yn ymlawenhau yn y pethau hyn.

Ni chlywais i guro, ac ni welais fwrdd yn dawnsio erioed, ond yn unig fel ei troediais fy hunan. Nid wyf am eu holl guro a'u dawnsio o amgylch i mi.

Ni chred pobl y byd mewn dadguddiad oddiwrth Dduw, a chredant mai dyn ffol oedd Joseph Smith am gymmeryd arno

i gael dadguddiad uniongyrchol o'r nef, ond etto ymunant oll â'r mater hwn, mewn cael dadguddiadau gan ysbrydion drwg, halogedig, ac anwybodus i raddau, ynghyd a dynion drwg. Daeth rhai yn ysgrifenyddion ysbrydol trwy fod ysbryd yn ymaflyd yn eu llaw, ac yn ysgrifenu heb eu caniatâd. Ni ddiolchaf i unrhyw berson i gymmeryd fy llaw i, ac ysgrifenu heb fy nghaniatâd; nid ydym ni yn chwennych y fath drafodaeth. Credwn yn eu bodolaeth, ond nid ydynt yn eiddo i ni. Derbyniwn hysbysiadau ar egwyddor arall, a hyny yn uniongyrchol o'r nefoedd, oddiwrth weision, cenadon, neu weinidogion Duw; credwn fod hyn yn well; a bwriadwn ymwneyd â'n crefydd, a chymmeryd ein llywodraethu ganddi.

Mae yn dda genyf y gwel y boneddigion a ddaethant i mewn eleni wahaniaeth yn moesau ac ymddygiadau y bobl yma, yn gyferbyniol i'r dinasyddion a gyd-drigent â hwy o'r blaen. Ni chaniatawn rai ymarferiadau yn ein Dinas ni a ganiateir ganddynt hwy yn yr Unol Daleithiau, o'r hyn leiaf, yn eu holl ddinasoedd mawrion. Ceisiwn fyw bywyd *rhinweddol* a santaidd, gan wneyd i ereill fel y dymunem i ereill wneyd i ni, ac o herwydd hyny y gyrwyd llawer o honom o'r Unol Daleithiau; dywedaf lawer o honom, oblegid fod yma lawer na yrwyd yma, eithr a ddaethant wedi yr amser ein gyrwyd ni, ac yr ydym wedi myned trwy lawer iawn o dreialon. Soniodd y Brawd Stains am rai o honynt. Yr oeddwn yn un o'r rhai cyntaf, mewn cyssylltiad â'r Llywydd Young, a ddaeth i'r dyffryn hwn, pan yr oedd yn anghyfanneddle, ac ni allasem hyd y nod gael *map* o'r wlad oddiwrth Fremont, nac oddiwrth un dyn arall er deall y ffordd i'r lle hwn. Yr oeddwn i yn un a gynorthwyodd i bigo y ffordd. Pan y cychwynasom i ddyfod yma, nid oedd genym fwy o ymborth nag oedd wrth gychwyn gan yr ymfudwyr hyny, i ba rai y danfonasom flawd y tymmor hwn. Nid oedd genym ond 112 pwys yr un, a daethom yma heb ddim, ond yr hyn a gynnwysai ein wageni, ac yn unig fel yr helasom ac y lladdasom helwriaeth. Pan y cyrhaeddasom y rhyd uchaf yn afon Platt ni feddai ein cwmpeini lonaid pen o fara. Edrychai hyny yn galetach i chwi nag amser y *crickets*, etto nid oeddem yn tuchan na grwgnach, canys yr oedd tu hwnt i'r nôd grwgnachol pryd hyny; anfuddiol fyddai beio, ni ddarparai hyny buffalo, antelope, deer, nac elk.

Yr ydwyf yn cofio ar un diwrnod, yr wyf yn credu mai pan yr oeddem ar yr afon Platt, i'r Brawd Brigham ddweyd wrthyf,—"Frawd Heber, pa beth a feddyliwch chwi am dani, a ydych chwi yn meddwl yr awn yn mhellach?" Gwn iddo ofyn hyny er fy mhrofi. Atebais, "Y mae arnaf eisieu myned hyd ben draw ein taith, a ffeindio tywod-feini gwŷnion, a gweled pa beth sydd yn y ddaear." Ni fu diwrnod ar nad aethym gydag ef hyd nes y cawsom drigfan. Gwyddwn fod lle yn rhywle, er yr ymddangosai hyny weithiau yn o ddiargoelus, ond yma yr oedd, yn yr uchelder. Y wlad oreu ydyw hi a welais erioed. Yr wyf wedi preswylio yn mharthau goreu yr Unol Daleithiau, ond mae y wlad hon yn well. Yr ydwyf wedi bod yn byw lle y darganfyddodd Joseph y llafnau, a lle y gweinyddodd angel yr Arglwydd iddo; calon y byd ydyw, ond a ydyw y lle hwnw gystal â hwn? Nac ydyw. Nid yw yn dechreu cynnyrchu gwenith, ŷd, ceirch, a phob llysieu ereill a chwennycha y galon, fel mae y wlad hon. Yr ydym yn myned i fod yn gysurus yma.

Mae mintai o fyddin yr Unol Daleithiau wedi dyfod yma; gwelwch mor haelionus y cynnygiasant am wenith, ac nid yn unig am wenith, eithr am geirch, barlys, ŷd, cloron, caws, cywion, betys, moron, panas, a phob peth a chwennychant brynu. Ni ddywedwn gymmaint am y masnachwyr, y mae ganddynt hwy ddigon. Cewch weled mor dda y gwnawn i'r trigolion ansefydledig deimlo y gauaf hwn.

Mor gysurus y teimlant, ac y llawenychant am fyw yn nghanol pobl wŷnion. Ni feddyliasant am foment ein bod yn ddynion a benywod *gwŷnion*, eithr pan y daethant yma, dealiasant, er eu mawr syndod, fod y bobl yn Utah yn eithaf gwŷn, ac yn hollol o'u gwlad hwy eu hunain. Bendithier eich eneidiau, yr ydym ni yn bobl ryddion, nid oes gwlad slafaid yma; etto cyfaddefaf ein bod yn slafio yn o galed i godi yr holl bethau gwych hyn. Wel, yn awr, na ddigalonwch, gwnewch eich hunain yn gysurus; ymddygwch yn dda tuag atom ni, ac fe ymddygir yn dda tuag atoch chwithau, ac fe fydd y driniaeth oreu o honoch a gawsoch yn eich bywydau; ond, DWYLAW I FFWRDD. Llefaraf yn union fel y teimlaf. Mae fy nghalon yn dda, cymmwynasgar a rhwydd; ond y mae llaweroedd o ddynion calon-rhwyddach nâ myfi, ac etto y mae llaweroedd nad ydynt gymmaint felly. Y mae gan bob math o ysbrydion bob math o gyrhaeddiadau. Y mae cyn-

nifer o ysbrydion ag a welwch o bersonau, canys y maent oll ag ysbrydion ynddynt; mae rhai yn fwy sarug nâ'u gilydd, ac y mae rhai yn fwy haelionus, cymmwynasgar, a chalon-rwydd, ac yn fwy rhydd oddiwrth hunanoldeb nâ'u gilydd. Os ffaith yw hyna, profa y gellwch chwithau ddyfod yr un mor galon-rwydd â'r rhwyddaf o honynt. Ceisiwn fod ynte, a'r hyn a ddywedaf wrth un Sant a ddywedaf wrth yr holl Saint, ac wrth yr holl bobl a ddaethant i'r dyffryn hwn, byddwch haelionus, byddwch garuaidd, a byddwch yn Saint.

Yr ydym am i chwi fod yn Saint tra yr aroswch yma; canys gwyddoch y modd y gwnelai yr Apostolion, pan yr oeddynt yn mhlith y Rhufeiniaid, gweithredent fel y Rhufeiniaid, a thra yr ydych chwithau yn mhlith y Mormoniaid, gwnewch fel y gwna y Mormoniaid; byddwch galon-rwydd, a byddwch yn bobl *wỳnion.* Yr ydym ni yn bobl wỳnion, ganwyd rhan fawr o honom yn yr Unol Daleithiau, a llawer o honom yn yr Hen Loegr, a'n brodyr a'n chwiorydd ydynt. Daeth fy nhad oddiyno, ac ymladdodd dros, ac a gynnaliodd y wlad hon; os na wnaeth ef, gwnaeth fy nhadau, y mae yn ol yn y llinach yna yn rhywle. Daethom i gyd o'r hen wledydd ac i mewn i wlad newydd, i'r Unol Daleithiau; ac oddiyno yr ydym wedi ymfudo i wledydd mwy newydd fyth, i benau y mynyddoedd fel y dywed y Prophwydi. Dywedasant y casglid y Saint yn y dyddiau diweddaf, ac yr ydym yn casglu i adeiladu dinas i enw ein Duw ni, ac yr ydym yn myned i adeiladu teml, ac addoldai, fel pan ddeuwch chwi yma y gellwch gyd-addoli â ni, a phan yr ydych yn mhlith y Mormoniaid gwnewch fel y Mormoniaid, gwnewch yn iawn, a chadwch orchymynion Duw. Dywedais lawer gwaith pan y delo dyn i mewn i fy nhŷ, os bydd yn Gatholic, yn Bagan, yn Grynwr, yn Fethodyn; yn Filwr, yn Gadben, yn Llywodraethwr, neu yn Llywydd, y bydd ganddo i ymostwng i drefn fy nhŷ; a phan y plygaf ar fy ngliniau, byddaf am iddo yntau gyd blygu â mi. Dyna yw fy nghrefydd i, ymostynged a gweddied gyda mi; ac yna os af innau i dŷ dyn arall, os mai sefyll wna i weddio, safaf innau hefyd, a chydweddiaf ag ef. Mae hyna yn grefydd dda. Gwnewch fel y gwna y Rhufeiniaid tra yr ydych yn eu mhysg. Gall dyn sefyll, penlinio, neu eistedd a pheidio a gweddio, a bod mor groes ag y myno, eithr bydded ddarostyngedig i lywodraethwr, neu lywodraeth y cyfryw dŷ, a phan yr elo i deyrnas arall, bydded ddaros-

tyngedig i'r cyfryw deyrnas. Mae Duw yn dweyd os ceidw dyn ei orchymynion ef nad oes anghen iddo dorri cyfraith y tir. Dyna fy nheimladau innau.

Byddwn yn Saint, a chadwn orchymynion Duw, a gofalwn am ein busnes ein hunain. Dyna fy ngrefydd i. Yr ydym am i bawb dynion i wneyd hyn, carem i bob menyw i gadw yr un peth; i gadw gorchymynion Duw, a chadw eu hunain, yn bur a glân. Ac os nad ydych yn lân, yn bur, ac yn santaidd, cynghorwn chwi i edifarhau am eich pechodau, a myned i gael eich bedyddio er maddeuant o honynt, gan santeiddio eich hunain a derbyn dawn yr Ysbryd Glân, fel y mynega i chwi bethau i ddyfod, gan ddwyn ar gof i chwi bethau a aethant heibio. Dyna fy nghynghor a'm cyfarwyddyd. Bendithied Duw chwi frodyr a chwiorydd, a bendithied yr holl bobl hyn, yn wrryw a benyw, hen ac ieuanc, y dyeithr-ddyn, a phawb ereill; bendithied chwi a heddwch a llonyddwch, fel y caffom amser nefolaidd, amser gorfoleddus yn ystod y gauaf dyfodol. Bendithied Duw chwi â'r bendithion hyn, a phob rhai ereill, yn enw Iesu Grist. Amen

*Cyf.* WILLIAM LEWIS.

---

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MAWRTH 3, 1855.

ARWYDDION YR AMSERAU.—Nid cuddiedig oddiwrth olygon "plant y deyrnas" yw y duaew gymylau a dywyllant awyrgylch ein byd; nid cauedig eu clustiau hwy rhag ocheneidiau a gruddfanau gwledydd cyfain braidd, ac y mae gormod o derfysg, drygioni, dyoddefiadau, a chlefydau o'u hamgylch o byd i allu anghofio mai gwawr dydd dïal y Duw mawr yw hyn oll—"dechreuad gofidiau na bu eu bath er pan yw dyn ar y ddaear, ac ni bydd ychwaith." Ni raid edrych i eithafion byd nac at wledydd ereill allan o'n hoff wlad ein hunain, am enghreifftiau o ddadymchweliad Babilon Fawr, ac o allu Duw i waghâu y byd

o'i drigolion. Pa le mae heddyw, gadernid, mawredd a gogoniant y deyrnas "gadarnaf, eangaf, ac ardderchocaf dan haul" —yr hon drwy ystod deugain mlynedd o heddwch a lywodraethai ar foroedd y byd, ar diriogaethau yr hon ni fachludai yr haul ddydd na nos? Er ys llai na blwyddyn yn ol addurnau ei llyngesau wynebau y moroedd dwyreiniol, fel cynnifer o feirch tanllyd yn rhuthro dros forfa gwyrdd i ryfel; a thra yr adleisiai bonllefau ugeiniau o filoedd o ddewrion ar eu byrddau yn ngororau eu gwlad, am fuddugoliaeth ddychymygol ar eu gelynion, y newyddion galarus a diddysgwyl a geir yn ol yw nad oes yn ngweddill ond tua deg mil o'r fyddin wrolaf ac ardderchocaf a adawodd ein gwlad—dim un o bob pump yn gallu ymlwybro fel cysgodau drwy y llaid a amdöa wynebau dros ddeugain mil o'u cyd-filwyr, y mwyafrif o ba rai a fuont feirw o newyn neu o oerfel, tra yr oedd digonedd o ymborth a dillad yn braenu yn eu hymyl. Tra mae y gweddillion o'r fyddin o flaen Sebastopol wedi eu cau rhwng byddinoedd lliosocach o'r Rwsiaid, megys pe baent Baalsephon a Phihahiroth ar bob llaw, yn aros eu tynghed, ac yn uchel alw ar eu gwlad am gymhorth,—beth a wneir at eu cynnorthwyo? Ar gynnygiad yn Nhŷ y Cyffredin i chwilio i ddirgelion eu gweithredoedd er deall yr achos o'r camwri, yr esgeulusdod os nad y fradwriaeth a achosodd y fath ddifrodaeth ar y fyddin, dianga ein prif Lywodraethwyr tu ol i'r guddlen drwy roddi eu swyddau i fynu pan yr oedd mwyaf o'u hangen i weithredu yn effeithiol i achub y gweddill o'r fyddin; a gadawsant y wlad nid yn unig heb fyddin, ond heb lywodraeth hefyd, a gadawsant y genedl heb amynedd braidd i aros yn hwy, nac i ymddiried mewn arall i'w llywodraethu:—boneddig a gwreng—pawb yn unllais a addefant y diffyg o'r gallu llywodraethol anhebgorol er achub y wlad yn y cyfyngder olaf. At arglwydd Palmerston, fel yr unig iachawdwr, edrycha llygaid y wlad—rhoddwyd awenau y llywodraeth yn ei law, a gwnaeth ei oreu i ffurfio llywodraeth. Y canlyniad yw, mae efenau yr hen lywodraeth mor debyg i ddefnyddiau y ddelw a welodd Nebuchodnosor fel na ddaliant wrth eu gilydd am bythefnos heb fyned yn gyrbibion eilwaith. Pwy na wel fod llaw anweledig yn hyn oll rhy eglur i'w guddio na'i droi yn ol? Pa ryfedd fod y breichiau tragywyddol yn cael eu tynu yn ol odditanynt, tra mai mewn breichiau o

gnawd dim cryfach nâ'r eiddo arglwydd Palmerston y mae eu hymddiriediad. Mae sefyllfa bresennol ein gwlad yn gyfryw na fu y cyffelyb er pan ei cyfenwyd yn "Brydain *fawr*," a pha hyd y caniata cenedloedd cylchynol iddi wisgo yr enw olaf, amser byr a ddengys. Mae ymdrechiadau mawrion yn cael eu rhoddi ar droed yn awr i gario y rhyfel yn y blaen gyda mwy o fywiogrwydd—bwriedir enlistio 60,000 o bobl ein gwlad yn ystod y flwyddyn hon; mae rhyw gwmpeini o Frainc wedi cynnyg codi byddin o 10 i 25,000 o Ffrancod i fod yn filwyr i Loegr, ac y mae yn debygol y cymmeradwya y llywodraeth eu cynnyg. Un o'r ffeithiau egluraf a allasai Prydain roddi o'i gwendid yn ychwanegol at yr holl elusenau a gaiff ei byddinoedd mewn dillad, ymborth, cymhorth i ofalu am eu cleifion, &c., gan y Ffrancod yw yr ymddibyniaeth hyn arnynt. A pha le yr ymguddia gweledyddion a phrophwydi ein gwlad rhag traethu beth a fydd y diwedd o hyn oll? Pa bryd y gwelant lygad treiddgar—cilddanedd a chrafanc estynedig y "bwystfil a gafodd glwy â chleddyf ac a fu byw?" Pa lygad-craff a wela "wellhâd y clwyf" hwnw, y modd a'r amser ei gwneir, ac a'i mynega i'r byd? Os oedd "dirgelwch yr anwiredd eisoes yn gweithio" er ys deunaw cant o flynyddau yn ol, mae ei olaf gampwaith wrth y drws yn awr ond odid. Ai tybied fod ei "santeiddrwydd" olaf hwn gymmaint mwy oenig nâ'r bleiddiaid yr hanodd o honynt, fel na chwennycha broselytio teyrnas ar unwaith i'w ffydd; neu a feddylir na cheseilia ei "fraich ddeheu ef," yr hwn a'i cadwa ef yn awr ar ei orsedd, mo y praidd a ddiangasant o'i gorlan er's cyhyd, yn awr pan yn ei allu? Ai tybied ei fod ef rhy ddiniwed i godi awenau meirch cerbyd ei ewyrthr o'r llaid, a marchog ynddo tra nad all arall ei rwystro? I'r rhai y rhoddwyd iddynt i ddeall arwyddion yr amserau y gofynwn y pethau hyn!

Tra mae milisia yr holl siroedd mewn ufydd-dod i alwad y llywodraeth, yn fyddinoedd cyfain braidd yn aberthu eu hunain yn ymborth i'r cŵn rhyfel—crytiaid ein heolydd wrth y cant yn yr wythnos yn ambell dref, yn dilyn lleisiau y "*fife* a'r *drum*," a'u gwaed yn berwi yn eu gwythienau am gymmysgu â gwaed eu gelynion ar "faes y frwydr," mae y newyn du, canlynol i ddyrysweh masnachnol a gweithfäol, yr hwn sydd yn gyru miloedd o bobl hyd drefydd ein gwlad mewn gwallgof-

crwydd angeuol i dorri i siopau ar eu cyfer am fara i gynnal bywyd, yn fflangell effeithiol arall i chwipio dyoddefyddion ein gwlad yn lluoedd i'r gigyddfa am estyniad einioes. Yn y blynyddoedd mynedol edrychai dyoddefyddion gwledydd Ewrop dros y môr at y cyfandir gorllewinol, fel eu gwaredfan rhag gormes, a'u hystordŷ am luniaeth; eithr mae y dorau hyny wedi cau, y wlad ffrwythlon hono yn ymattal ei chynnyrch, a'i masnachau wedi dyrysu, nes yr oedd yn ddiweddar gant a hanner o filoedd o bobl, yn Nghaerefrog Newydd ei hun, yn begian yn ofer, ar Faer y ddinas i achub eu bywydau rhag marw o newyn; ac ar hyd heolydd dinasoedd gwahanol Daleithiau na wyddent gynt braidd beth i wneuthur â chynnyrch toreithiog eu dyffrynoedd, gwelir yn awr filoedd o bobl ar newynu yn crwydro am damaid o fara heb lygad i dosturio na braich i'w cynnorthwyo. Dylifa miloedd oddiyno tua'r dwyreinfyd, y rhai nid oes iddynt ddewis amgen braidd wedi cyrhaedd, ond chwilio am feddau yn monwentydd y Rwsiaid. Mor bell o fod wedi cael ei ddigoni ar ysglyfaeth mae yntau, fel y bedd yn gwaeddi "moes, moes" o hyd. Mewn *Ukase* ddiweddar, deallwn iddo orchymyn i arfogi a gwneuthur pob dyn a all gario arfau yn barod i ryfel, ac y mae yn codi pymtheg *roubles* o dreth ar bob erw o dir, ynghyd a gofyniad am bedair gwaith cymmaint o ymborth a nwyfau rhyfel â'r holl rai blaenorol.

Nid oes argoel heddwch yn hyn; ac er fod Arglwydd John Russel wedi cychwyn yn genadydd heddwch i'r cyngrair gwladwriaethol, tra na chydunant i ammodau amgen nâ gomedd i Rwsia fwynhau Sebastopol dan ei llawn arfau, nid tebyg y cyduna Nicholas i ddim arall, ac felly ni cheir heddwch mor gynted chwaith. Mae Ffrainc yn cryfhau ei byddinoedd yn gyflym, nes yr ymffrostiant fod ganddynt dros 100,000 ar y maes, ac ychwaneg yn myned o hyd; mae yr Amerawdwr ei hun yn bwriadu myned i faes y frwydr yn fuan, er fod galwadau taerion arno i aros gartref rhag ofn chwyldroad yn ei wlad ei hun. Mae chwyldroad bygythiol yn awr yn ngwlad y Sultan, ac hysbysir ni nad oes y ddegfed ran o'i fyddin gyntaf i faes y rhyfel yn awr yn fyw. Mae y taleithiau Ellmynaidd yn dweyd fod ganddynt 52,000 yn barod i frwydr, eithr y *dilemma* gwaethaf oll yw na wyddus,—na wyddant eu hunain etto, o blaid nac yn erbyn pwy y rhyfelant, er fod yn fwy na thebyg y

rhuddlant hwythau ryw gŵr o'r chwareulawr cyn hir. Mae y gwledydd dwyreiniol drwy Persia, Affganistan, a'r India yn mhell o fod yn heddychol—mae gan Nicholas hauwyr hadau bradwriaeth drwyddynt oll braidd, ac y mae brenin Ava yn gofyn tâl gan Loegr am yr holl wlad a gymmerasant oddiarno. Mewn gair, mae sefyllfa ryfelawg a mwy bygythiol ein byd yn eglur brofi fod "heddwch eisoes wedi ei gymmeryd oddiar y ddaear." Ychydig flynyddau yn ol, tra yr oedd yr holl fyd mewn heddwch, a'i ddoethion yn addaw parhad hir o hono, fe glywid bachgenyn yn unig yn dyrchafu ei lef, yr hon a adleisiau yn nghoedwigoedd y byd gorllewinol, gan waeddi "rhyfel, rhyfeloedd, a sôn am ryfeloeddd sydd wrth y drws, ac yn fuan trocha y byd eu cleddyfau yn ngwaed eu gilydd, hyd nes y bydd raid i bwy bynag na choda ei gleddyf yn erbyn ei frawd ffoi i Seion am heddwch." Pwy, pryd hyny, a'i coeliai? Pwy yn awr a'i ammheua? Pwy o'r sawl a wawdient weledyddion y dyddiau diweddaf, pan rybuddient y byd yn nghanol heddwch fod y cleddyf yn dyfod, a goeliant ac a ufyddhant i'w eu galwad, a dderbyniant yr unig waredigaeth gyrhaeddadwy iddynt?

Er mai gwaeth-waeth mewn drygioni y gyra barnau Duw y byd annuwiol—er fod y newyddiaduron a gyhoeddant gyflawniad manylaf ei brophwydoliaethau ef yn yr un colofnau yn gwaeddi yr "Hen Joe, yr argraffydd," "y cablwr," "y twyllwr a'r gau brophwyd," ac â'r un pin wedi ei drochi yn yr un inc yn haeru mai y "ffiaidd-beth mwyaf anfoesol ac anynol" o bob ffug yw y grefydd, yr unig grefydd a ddyry oleuni yn mlaen ar dynghed yr oes, a'r unig un a ddangosa waredigaeth ; ac er fod yr oes falch hon yn rhuthro fel march i'r frwydr; er hyn oll, meddwn, dyrchafa plant y goleuni eu penau, gan wybod nad yw yr holl bethau hyn ond nodau arddanghosiadol o ddynesiad eu Brenin i'w deyrnas, ac o'r cyfnod gorfoleddus pan y rhoddir y freniniaeth o tan yr holl nefoedd i addfwyn ddyoddefyddion gwawd y byd—plant i Frenin yr holl ddaear. Symbyla hyn oll y Saint i fwy ffyddlondeb, o herwydd mae yr amser yn agoshau pan y dyry prif elyn Seion rwystrau ar eu ffordd, anorchfygol i bawb ond y "pur o galon." Annoga y pethau hyn y Saint i ddiwydrwydd i rybuddio eu cyd-ddynion yn onest, yn sobr, ac effeithiol, gan fod y perygl yn fawr a'r amser yn

brin; a dylai yr holl arwyddion hyn orfodi yr oll i fod yn barod erbyn y delo yr alwad "fel gwaedd hanner nos," ac na ellir croesi y môr-werydd ar ei ol, y galwad olaf ar y Saint i Seion. Gwŷr parod caffer plant Seion oll.

---

PREGETH Y LLYWYDD KIMBALL.—Yr hon a lanwa amryw o dudalenau y rhifyn hwn a deilynga fanwl graffiad ac ufydd-dod y Saint; ynddi gallant bwyso eu hysbrydoedd eu hunain, ac a archwaethant hwy Ysbryd Seion pe yno. Nid ysgafn tystiolaeth tyst mor hyddysg o'i fater, ac mor drwyadl ei brofiad yn ngwaith Duw ag yw efe; eithr pwysa yn nghlorianau gwirionedd eneidiau yr oll a'i hanghreda, pe yn lloned byd ar unwaith.

---

Y CYMMANFAOEDD DIWEDDAR.—O herwydd anghyfleusderau gomeddwyd i ni gyhoeddi cofnodion y Cymmanfaoedd diweddar, eithr y mae yn ddywenydd genym gael ar ddeall fod undeb cyffredinol yn ffynu yn mhlith y swyddogion a'r Saint—fod pob Cynnadledd yn cynnyddu eu rhyfedi, ac yn arddangos penderiad i ymegnïo i rybuddio eu cyd-ddynion drwy draethodu a thystiolaethu. Hyderir na siomir ni yn yr addewidion haelionus a roddir i ni o dalu y dyledion sydd am lyfrau i'r ddwy Swyddfa, yr hyn sydd hawdd i'w wneuthur pe talai y Saint ar law am y llyfrau a brynant, a phe ymdrechent werthu y traethodau i'r byd. Mae y profion a geir yn arwyddion yr amserau enbyd hyn, ac yn mhob peth, fod Duw am dorri ei waith yn fyr, yn annogaethol i fod yn barod drwy dalu y dyledion a hòna yr eglwys. Mae yn ddigon cyfiawn i oedi rhoddi cymmeradwyaeth i'r sawl a allo ac ni thalo ei ddyled am lyfrau, i fyned i Gangen, Cynnadledd, nac i wlad arall, ac hyderir y cydwela pob gonest-ddyn yn hyny.

---

## APPWYNTIAD COLONEL STEPTOE YN LYWODRAETHWR AR UTAH.

*(Allan o'r "Star.")*

*Dinas Washington, Ionawr* 4, 1855.

AT Y LLYWYDD F. D. RICHARDS,—Anwyl Frawd,—Mae yn ddrwg genyf eich hysbysu i'r Llywydd o'r diwedd wrthod ail-

appwyntio y Llywydd Young i'r swydd a ddeil yn bresennol. *Lieut. Colonel* Steptoe yw yr hwn a benodwyd yn ei le ef.

Ymddengys y Llywydd yn eithaf cyfeillgar, a dywedodd ar ymweliad blaenorol ag ef ei fod wedi derbyn llythyrau oddiwrth Colonel Steptoe, a'r Prif Ynad Kinney, yn llefaru yn anrhydeddus iawn am Lywodraethwr a phobl Utah, ac ychwanegodd, yn mhlith pethau ereill, ei fod yn dymuno gwneyd yr hyn oedd oreu i Lywodraeth a phobl Utah, ac os na phenodai y Llywydd Young, na phenodai neb ond un o'r cymmeriad uchaf, gan gredu y byddai yn well i'n pobl ni fod un o'r fath yn cael ei benodi, canys nid yn unig gwnelai gyfiawnder â ni, eithr llefarai yn dda am danom hefyd, yr hyn a wnelai lawer tuag at symud y rhagfarn sydd yn ein herbyn, ond etto mi gymhellais ail benodiad y Llywydd Young.

Nid oes gan y Llywydd un meddwl i ymyraeth a threfniadau teulaidd ein Tiriogaeth. Llefarodd yn y modd mwyaf canmoladwy am Colonel Steptoe, gan ddweyd ei fod yn foneddwr, ac yn ysgolhaig, a'r dyn mwyaf prydferth a adnabyddodd erioed.

Mae y Colonel yn dal cymmeriad uchel yma, ac yn cyfrif yn mhlith ei gyfeillion yr Anrhydeddus Oruchwyliwr *(Secretary)* y Rhyfel. Gan nad ellid sicrhau ail-appwyntiad y Llywydd Young, yr hyn sydd achos o ofid mawr i ni oll, nis gwn am neb a ystyriwn yn fwy cymmeradwy nâ'r Colonel Steptoe, ond mae ei gyfeillion yma yn credu na wna efe dderbyn yr appwyntiad.

Yr eiddoch yn barchus,

JOHN M. BERNHISEL.

---

## AI DUW A DDANFONODD JOSEPH SMITH?

*(Dyfyniad o draethawd sydd yn awr yn y Wasg.)*

*Yn drydydd.*—Ni buasai adferiad yr "efengyl dragywyddol" i'r ddaear drwy yr angel Moroni o unrhyw fudd i ddynion, oddieithr fod rhyw un wedi cael ei gynnysgaethu ag awdurdod i'w phregethu ac i weinyddu ei hordinhadau. Gallasai Moroni ddadguddio llyfr a gynnwysai drefn brydferth a gogoneddus yr iachawdwriaeth, eithr ni allasai neb ufuddhau, hyd y nod i'w hegwyddorion cyntaf, heb *weinyddwr o ddwyfol awdurdodiad* ac *ordeiniad* i'w phregethu, i fedyddio, arddodi dwylaw er cyflwyno

dawn yr Ysbryd Glân, &c. Eithr a ordeiniodd Moroni Mr Smith i'r apostoliaeth, gan orchymyn iddo weinyddu ordinhadau? Naddo. Eithr paham na chyflwynodd *awdurdod* drwy *ordeiniad*, yn ogystal â dadguddio yr efengyl dragwyddol iddo? O herwydd nad ymddengys fod ganddo hawl i wneuthur hyny.

Nid yw pob angylion yn gydradd mewn awdurdod—nid y'nt oll yn dal yr un allweddau. Yr oedd Moroni yn brophwyd, eithr nid oes genym hanes ei fod yn dal swydd apostol; ac, os nad oedd, nid oedd ganddo hawl i ordeinio Mr. Smith i swydd na feddiannodd ei hunan. Diddadl iddo wneuthur yr oll a orchymynwyd iddo wneuthur, yr hyn oedd dadguddio "pren Ephraim,"—cronicl ei dadau, yn cynnwys yr efengyl dragywyddol. Pa fodd, ynte, y cafodd Mr. Smith swydd apostol, gan na feddai Moroni hawl i'w ordeinio i'r swydd hono? Tystia Mr. Smith fod Pedr, Iago, ac Ioan wedi dyfod ato yn angylion gwasanaethgar, a thrwy arddodiad dwylaw iddynt ei ordeinio yn apostol, gan orchymyn iddo bregethu, bedyddio, arddodi dwylaw er cyflwyno dawn yr Ysbryd Glân, a gweinyddu holl ordinhadau yr efengyl, megys y gwnaethent hwy eu hunain pan ar y ddaear. A broffesodd Swedenborg, apostolion Irving, neu unrhyw dwyllwyr ereill yn yr oesau tywyll hyn fod yr apostoliaeth wedi ei chyflwyno iddynt gan y rhai olaf a'i mheddai—gan angel a feddai y swydd hono ei hunan? Naddo: o ganlyniad, nid ydynt apostolion, eithr twyllwyr. Pe proffesasai Mr. Smith fod wedi derbyn yr apostoliaeth drwy ddadguddiad yr Ysbryd Glân, heb ordeiniad o dan ddwylaw apostol, deallasem yn eglur mai gau a fuasai ei broffes, ac mai twyllwr a fuasai yntau. Os yn dwyllwr, pa fodd y darganfyddodd Mr. Smith hyn? Paham na ffugiasai yr apostoliaeth heb ordeiniad gan apostol, fel y gwnaeth yr Irvingiaid? Pa fodd y cafodd efe gymmaint mwy o ddoethineb nag oedd gan Mr. Irving, fel ag i ddeall na allasai efe fod yn apostol oddieithr iddo gael ei ordeinio gan apostol? Rhaid i'r sawl a grêd mai gau apostol oedd Mr. Smith, gyfaddef ei fod wedi dangos llawer mwy o ddoethineb nag a wnaeth yr holl gau apostolion a fuont o'i flaen ef, er eu holl ddysgeidiaeth a'u talentau mawrion. Onid yw hyn yn ffurfio rhesymeg gyffelybiaethol arall bur gref i brofi *dwyfoldeb danfoniad Mr. Smith.*

Mae'r fath fanylrwydd â hyn mewn cyflawniad o bethau o'r

fath ddirfawr bwysigrwydd mewn gwrthgyferbyniad i'r ffaith fod miliynau wedi cyfeiliorni ynddynt o'r blaen, yn arddangos rhywbeth yn uwch-*ddynol*,—arddengys *ysbrydoliaeth* yr Hollalluog. Mae purdeb athrawiaeth Mr. Smith—cydgordiad perffaith ei dystiolaeth â'r eiddo Ioan o barthed i'r *modd* yr adferid yr efengyl dragywyddol i'r ddaear, a chyssondeb ei dystiolaeth am y *modd* yr adferwyd yr apostoliaeth yn dystiolaethau cedyrn, yn gydgordiol ardderchog â, ac yn cadarnhau eu gilydd; mae ein tystiolaethau yn amlhau, ac yn cryfhau yn gyfartal i yr ymchwiliad i bob sefyllfa ac amgylchiad cyssylltiedig; ac yn gorfodi argyhoeddiad braidd yn anwrthwynebol ar y meddwl fod Mr. Smith o *ddwyfol* ddanfoniad.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Dysgai y mamau Rhufeinig i'w mheibion wladgarwch,—i'w mherched ddiweirdeb.—Felly y gwna y mamau yn Utah yn gymhwys.

Yr Ymfudwyr.—Ni feddwn hysbysiad mwy penodol i'r ymfudwyr hyd yn hyn am yr amser i gychwyn, nâ dweyd fod y Llywydd Richards yn addaw gwneyd ei oreu i gael llong i'r oll gyd-hwylio o Liverpool mor agos i ganol mis Mawrth ag y gall gael un. Ceir hysbysiad pellach pan ei cawn.

---

Derbyniadau am Lyfrau o Chwef. 9 hyd Mawrth 1.—Griffith Roberts, 8s 6c; James Morgan, 15s 9c; John Davies, £1; Isaac Jones, £1 15 6c.

☞ Coffhawn y Llywyddion am y cyfraniadau i gynnorthwyo ymfudiad y Llywyddion rhag-grybwylledig! Anfoner yn brydlawn.

⁂ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 6.] MAWRTH 17, 1855. [CYF. VIII.

### DARLITH YR APOSTOL ORSON HYDE.

*A draddodwyd yn Ninas y Llyn Halen Mawr, Hydref* 8, 1854.

FY ANWYL FRODYR A'M CHWIORYDD,—Galwyd arnaf y boreu hwn i wneyd ychydig sylwadau ar, a llefaru wrthych ynghylch y dull a'r modd o gasglu pobl Dduw.

Yn y lle cyntaf, i ddangos i chwi nad oes yr un grefydd â'r hon yr ydym yn gyfarwydd, oddieithr crefydd Saint y Dyddiau Diweddaf a ddichon ddwyn oddiamgylch drwy yr ymarferiad â'u gweithrediadau, y cyflawniad o rag-ddywediadau y prophwydi. Arddangosa yr holl gysgodau a'r ffigyrau a ddefnyddir gan ein Harglwydd a'n Hiachawdwr i ddarlunio gwirioneddau, mawrion a phwysig, y bydd yn y dyddiau diweddaf gasgliad y bobl ynghyd. Cesglir hwy gan y sugn-dyniad hynod a ffŷna yn yr amser pan na phwysir hwy i lawr gan dabernaclau marwol, eithr pan yn rhydd o'r clai beichiedig hwn, y sugn-dynir eu hysbrydoedd anfarwol oddiamgylch gorsedd Duw, yno i dderbyn croesawiad i'r gogoniant tragywyddol a barotowyd i'r cyfiawn, neu i gael clywed y ddedfryd arswydus, "Ewch chwi rai melldigedig i dywyllwch eithaf, lle y mae llefain, a wylofain, a rhincian dannedd!"

Ond, gyfeillion, y mae ymgasgliad y bobl i fod yma ar y ddaear. Pan roddo hauwr ei hâd yn y ddaear, y mae yn ei wylied, a'i drin yn ofalus; ni ddysgwylia ei gynheuaf medi mewn rhyw gŵr arall, eithr ar y tir yn mha un yr hauodd ei

hâd, ac yno y mwynhâ ffrwyth ei lafur; nid mewn rhyw wlad arall, ond yma.

Dywed yr Iachawdwr mai tebyg yw teyrnas nefoedd i rwyd a fwriwyd i'r môr, yr hon sydd yn dal pob math o bysgod, yn ddrwg ac yn dda; yn mhen ennyd, dygasant y rhwyd i'r làn, gan gasglu y pysgod da i lestri, a thafiasant y rhai drwg ymaith. Felly y bydd yn y dyddiau diweddaf; yn y diwedd, pan y dygir goruchwyliaeth yr ymgasgliad i mewn, ac y tynir rhwyd yr efengyl i'r làn, nid mewn rhyw wlad ddyeithr, neu ar fynydd, tu hwnt i derfynau amser ac eangder; eithr ar y làn sydd yn ochri ymyl y dwfr, fel mae y ffigwr hwn yn tystioliaethu, felly ar y ddaear, y bydd ymgasgliad y bobl.

Dywedir wrthym hefyd yn mha ddull yr ymgasglant. Deuant ar fwystfilod cyflym—ar ddromedariaid a chamelod; "A llongau Tarsis a'u dygant adref, a phrif ffordd a agorir i brynedigion yr Arglwydd i rodio ynddi." Nid yw y brif ffordd hono yn un ansylweddol, ac yn arwain i drigfanau yn yr awyr, ond prif ffordd ydyw hi a wneir ar y ddaear; ac fe ddichon fod y rheilffyrdd a wneir yn bresennol yn un achos grymus i effeithio y cyflawniad o'r ymgasgliad. Ar y pwnc hwn y sylwodd y prophwyd pan y dywedodd, "Nid yw cenaw y llew wedi sengu yno, ac nid yw llygad y barcyt wedi ei weled? Yn yr amser hwnw nid ydoedd hi wedi ei hagor, eithr cuddiwyd hi i gael ei hagor yn y dyddiau diweddaf. Ni sengodd cenaw y llew yno erioed; ond, cyn hir, dichon iddo wneyd hyny ar ol ei hagoriad.

Syllai yr hen brophwyd ar gyflymdra cynnyddol llongau, ond fe wnaeth ein cyfieithwyr iddo ddweyd y danfonir cenadon cyflym at y cenedloedd pellenig mewn llongau o lafrwyn. Pa beth a ddeallwn wrth longau llafrwyn. A welwn neu a glywwn ni sôn am longau o'r fath yna, oddieithr y cawell a wnaethpwyd i Moses ymguddio ynddo ar làn afon yr Aifft? A ddarllenasom ni erioed am ddynion, cenadon cyflym yn myned mewn llongau o lafrwyn?

Ffolineb yw; ni wrthsafai llong o'r fath darawiadau y gwyntoedd a'r tònau, ac ni ymfarchogai yn ddiogel drwy ymrafaeliad yr elfenau â'u gilydd fel pe am amherodraeth; neu fel pe byddai tònau a gwyntoedd yn ymarfogi â dialedd hiraethus am weled pwy yn gyntaf a grafangai y brycheuyn lleiaf hwn a ymegnïa am fywyd ar wyneb yr elfen ferwawl. Pwy sydd yn credu

unrhyw beth o'r fath? Mae y drychfeddwl yn anghysson. Eithr pan y syllwn arno drwy ddrych arall, nid yw mor anghysson ac aneglur. Gŵyr y brawd Carn sydd yn bresennol pa fodd y darllena y Beibl Ellymynaeg. Crediaf mai pibell-longau y geilw hwynt. Mae y lafrwynen yn gou ac yn tebygoli i bibell, ac ni feddai yr hen brophwyd un arddangosiad arall trwy yr hwn y darluniai ei ddrychfeddwl ond y lafrwynen; er iddo weled llongau ac ynddynt bibellau a cheuafnau (*tubes*) yn rhedeg bob ffordd, ac nid oedd ganddo yr enw "Agerdd-long" i'w henwi. Dywed y danfonid cenadon mewn Pib-longau, g; edrych i'r amser y defnyddid grym agerdd er eu gyru. I ba ddefnydd y mae grym agerdd? Ai yn unig er lleshâd dynolryw? Neu a wnaeth Duw hwn yn offeryn pwysfawr er cyflawni ei waith—er hwyluso ei amcanion yn y dyddiau diweddaf? Mae yn ddiddadl mai bwriad y Creawdwr Mawr yw y mater; nid yn unig felly, eithr y mae peth arall mewn cysylltiad â hyn, a ddywed yr Iachawdwr wrth son am ei ddyfodiad, bydd fel y goleuni boreuol, neu fel mellten a oleua o'r naill ben i'r nefoedd i'r pen arall, felly hefyd y bydd dyfodiad Mab y Dyn. Pa beth a welwn yn cael ei lunio ar y ddaear i gyflawni bwriadau y nefoedd? Gwelwn y gwyfr trydanawl (*electric wire*) yn rhedeg o un wlad i'r llall, a myfyrir eisoes pa fodd ei osodir yn groes i'r Atlantic i ddwyn yr holl genedloedd i gyfrinach uniongyrchol a'u gilydd. Oni ymddengys hwn fel mellt a gyrhaeddant o'r dwyrain i'r gorllewin? Felly hefyd y bydd dyfodiad Mab y Dyn. Mae yr hysbysydd trydanawl yn eu dwyn o'r ardaloedd dwyreiniol i'r rhai gorllewinol. Y mae mor gyflym fel y mae araeth a roddir yn ninas Washington am 12 o'r gloch yn cael ei hysbysu yn St. Louis am hanner awr wedi unarddeg yr un diwrnod. Eheda y trydaniaeth gymmaint cyflymach nâ'r ddaear, fel y mae hanner awr cyn yr amserau rhwng Washington â St. Louis, felly hefyd y bydd dyfodiad Mab y Dyn. Neu mewn geiriau ereill, yn y dyddiau diweddaf, bydd i hysbysrwydd ehedeg gyda'r fath gyflymdra, mor gyflym y bydd yn ei ddyfodiad. Yr ydym yn cyduno ein bod yn dynesu at yr amser hwnw yn agos iawn. Yr ydym ar gyrhaedd fel pe byddai i'w gymmydogaeth. Yn awr, meddai Ef, gwyliwch! pan weloch y ffigysbren a'r holl goed yn dechreu deilio, gwybyddwch fod yr hâf yn agos; a phan ddechreuoch weled

y pethau hyn yn dyfod i ben, cyfodwch eich penau a llawenhewch canys y mae eich gwaredigaeth yn agoshau.

Fe ddichon fy mod wedi dechreu yn y pen chwith i'm haraeth, ond os ydwyf, cyrhaeddaf ei phen arall cyn y terfynaf; fel y caffoch ei holl ranau os nertha yr Arglwydd fi drwy eich gweddiau. Cewch gynnwysiad a helaethrwydd yr hyn a ofynwyd i mi ei hysbysu, ond rhaid i mi gael fy ffordd fy hun i'w draethu.

Y mae ymgasgliad y Saint ynghyd i gymmeryd lle, "Ond," meddir, "nid ydym yn credu y dygwydda ymgasgliad y bobl yn y dyddiau diweddaf yn llythyrenol; nid ydym yn credu y gweinydda angylion i ni mwyach." Y grefydd hen ffasiwn yw dweyd, "Y mae genym yr oll a ryngodd bodd i'r nefoedd eu rhoddi a phrofir hyny gan yr Hen Feibl anwyl. Arhosed yr angylion mewn gogoniant, a ninnau a arhoswn ar ein ffermydd, ni a awn i'r eglwys o flwyddyn bwy gilydd, ac a adroddwn yr un hen ffregel drosodd a throsodd, hyd onid elom i wared i'n beddau, a hyny yw diwedd ein gwasanaeth yn y cnawd." Oni welwch fod yr holl fyd Cristionogol yn gwrthod gweinidogaeth angylion, Saint y Dyddiau Diweddaf yn eithredig, ac ychydig ereill a gredant yn y pethau hyn?

Y mae amryw yn y dyddiau diweddaf a gredant mewn *Spirit Rapping*, ac yn y fath angylion na feddant eneuau i lefaru. Yr oedd geneuau gan yr angylion a ymwelasant â gweision Duw, a hwy a lefarasant! Beth pe gofynech ofyniad i mi, a bod genyf ddealltwriaeth a genau i gyfrinachu, ond yn lle llefaru achoswn i'r bwrdd neidio, neu troediwn y cadeiriau drosodd, a'r meinciau, &c. Pa beth fyddech chwi yn wybod am dano? Byddech yn gwybod fod y diafol idd ei dalu; gwybyddech fod yno hollol absennoldeb o deimlad da ac o ddoethineb. Crëwyd dyn ar ddelw Duw, ac y mae yr angylion santaidd a amgylchynant yr orsedd, y cenadon fflamllyd er cario ei ewyllys i ddyn, yn ei lun a'i ddelw ef. Pan y gwelodd hyd y nod gweision Duw yn y dyddiau cyntefig un o'r ysbrydion nefolaidd hyn, dechreuasant ymgrymu a'i addoli ef, fel pe mai efe oedd y Duw a grëodd y nefoedd a'r ddaear; ond gorchymynwyd hwynt i addoli Duw. Yno yr oedd, yn sefyll yn nelw yr hwn a'i gwnaeth, a chamsyniodd y prophwyd ef yn lle yr Arglwydd. Mae yr angylion hyn ar lun a delw Duw, ac y mae

dynion hefyd ar ei ddelw. Credaf, pe rhoddai Duw neges i mi gyflwyno i'r bobl, ac na chyflwynwn hi yn gyfreithlawn, y cauai Efe fy ngenau o herwydd na roddwn hi yr un fath ag ei cefais. *Spirit Rappings*, isel radd!

Beth yw y mater? Cymmerodd rhywbeth dychrynllyd le. Pa beth yw? Nis gallwn ddweyd dim wrthych yn ei gylch, ond y mae cynhwrf rhyfeddol; peth rhyfeddol a ddygwyddodd yn nhir Ham. Dywedaf wrthych y bydd y rhai hyny a wrthodant y gwirionedd a gynnygir iddynt gan weision Duw, y rhai sydd yn llefaru yn eglur wrthynt, ddyfod yn adnabyddus ag ysbrydion mwnglaraidd na wyddant ddim er eu lles: am hyny y denfyn Duw iddynt amryfusedd cadarn fel y credont gelwydd; fel y damnir hwy oll y rhai na chredant y gwirionedd, eithr a ymhyfrydant mewn anghyfiawnder. Pan y gwrthodo y bobl y gwirionedd, ânt yn bethau chwareuaidd ysbrydion ffyrnig twyllodrus, yn cael eu bwhwman ganddynt fel bwrlwm ar y dôn. Nid yw gwir genadon oddiwrth Dduw yn dyfod yn y ffordd hyny; ond, meddai y byd, "Daeth angylion yn yr hen amser, ond ni ddeuant i'r ddaear mwyach, aethant i'r nefoedd, ac nid oes ychwaneg iddynt i wneuthur yma. Gallaf siarad â gwas y brenin pan nas gallaf siarad â'r brenin ei hun. Gallaf ddynesu at iselach raddau ei ddeiliaid pan na ddichon i mi agoshau at y cylch uchaf. Os gwrthoda dynion weinidogaeth angylion, a pheidio credu yn eu bodoliaeth, na sylwi ar eu geiriau, nis gwn pa fodd y cânt byth fynedfa i mewn at y brenin. Os na chydnabyddant ei swyddwyr, nis gwn pa fodd y llefarant â'r brenin ei hun.

A oes a fyn yr angylion â'r hyn a ddygwydd yn y dyddiau diweddaf? Mae Efe yn gwneuthur ei angylion yn weinidogion, a danfonir hwynt allan i weini i'r rhai hyny a fyddant etifeddion iachawdwriaeth. Mae yr Arglwydd yn holl-bresennol trwy ei ysbrydion gwasanaethgar, yr un fath yn union â rhyw frenin arall, gan yr hwn y mae gweinidogion drwy ei holl lywodraeth, ac y mae gweinidogion Duw yn mhob man; y mae ganddo weision wedi eu gwisgo mewn cnawd ar y ddaear, y maent yn myned trwy y tir yn mhob pwynt, y mae Duw yn bresennol yn mhob man gyda hwynt; ac y mae ef yn gwybod pob peth. Pa fodd? Pan y mae ei angylion a'i swyddogion yn dweyd wrtho, fel rhyw lywodraethwr arall. Bum mewn rhai o

gylchoedd a chyfarfodydd gweddio y byd sectyddol, a chlywais eu gweinidog duwiolfrydig yn dweyd, "Tyred bechadur, ymgryma i iau Crist; wele angel ein presennoldeb yn aros am y swydd anrhydeddus o fyned a'r newydd i'r nefoedd, fod un enaid ychwaneg wedi ei droi." Os yw Duw yn ei wybod eisioes, i ba ddefnydd y mae angylion i fyned â'r newydd. Y mae Duw yn gwybod pob peth trwy ei oruchwylwyr, neu ei weision, ac fel hyny y mae Efe yn holl-bresennol. Ond pe gwelech chwi Ef yn gorfforol a phersonol, gwelech berson o'r un llun â chwi eich hunain. Pa fodd yr oedd hi gyda Stephan? A oedd Duw yn wasgaredig i'r pedwar gwynt yn mhob man? Os oedd efe felly yn fanach nag y dichon un cyfrifiad celfyddydol eu desgrifio, nis gallasech ei weled. "Ond Stephan yn gyflawn o'r Ysbryd Glân, a edrychodd yn ddyfal tua'r nef, ac a welodd ogoniant Duw, a'r Iesu yn eistedd ar ddeheulaw Duw. Ac efe a ddywedodd, Wele, mi a welaf y nefoedd yn agored, a Mab y dyn yn eistedd ar ddeheulaw Duw." Os oedd Duw heb gorff, rhanau, na nwydau, pa fodd y deallasai Stephan pa un a oedd efe yn sefyll ar y llaw ddeheu neu ar yr aswy, neu ei fod ar un o'r ddwy ochr?

*(I'w barhau.)*

---

## DYFYNIADAU O LYTHYR O'R DYFFRYN.

*Linas yr Helyg, Dyffryn y Ll. H. Mawr,*
*Hydref* 25, 1854.

Fy anwyl Rieni,—Cymmeraf y cyfleusdra presennol i ysgrifenu atoch, gan obeithio eich bod chwi a'r teulu yn iach fel ag yr wyf fi yn bresennol.

Cychwynasom o'r Kansas, tua 1300 o filldiroedd y tu yna i'r Dyffryn, ar yr 2il o Orphenaf diweddaf. Gan nad oedd cyfleusdra genym i gael lluniaeth wed'yn cyn cyrhaedd pen y daith, parotoasom fel pe y bwriadem groesi y môr. Cafodd pob un 100 pwys o flawd, 18 pwys o gig moch, afalau sychion, tê, siwgr, &c. Yr oedd deg o honom yn mhob wagen, a 50 o wageni yn ffurfio cwmpeini. Cafwyd llawer o laeth gan y da. Bu llawer o drafferth i ddysgu pa fodd i yru yr ychain, a chafwyd difyrwch mawr wrth ein gweled yn ceisio gwneuthur hyny.

Yr oedd Cadben ar bob deg wagen, a phabell i bob un. Gwyliwyd yn y nos gan chwech o honom ar y tro. Byddem weithiau yn gwneuthur amgau â'r wageni yn y nos yn barod er cael y da i mewn yn y boreu, a phan y gwaeddai y Cadben "*Hitch up your cattle*," cawsech weled pob un yn brysio a'i dda tua'r wagen. Yr oeddem yn aros ambell ddiwrnod er i'r da i gael gorphwys, a'r benywod i gael golchi, a gwneuthur bara. Yr oeddwn i yn yr un wagen â William Richards o fro Morganwg; gwnaeth ei ferched yr holl olchi, ffwrnio, &c., ag oedd eisieu arnaf. Yr oedd y tywydd yn dwymn ar y dechreu, ac yn sych y rhan fwyaf o'r ffordd. Cododd y tir yn raddol hyd o fewn 200 o filltiroedd i'r Dyffryn. Yr oeddem y pryd yma yn 7000 o droedfeddi yn uwch na lefel y môr, ac yr oedd y tywydd yn lled oer. Gwelsom y *buffaloes* ar hyd y gwastadedd mor liosog â'r da ar hyd mynyddoedd Cymru. Yr Indiaid oedd ein cymmydogion. Ni chawsom un gofid o'u herwydd. Un dydd cyn i ni gyrhaedd Fort Laramie, lladdasant mewn brwydr 30 o'r milwyr oedd yno,—yn agos yr oll ag oedd yno. Dychrynodd hyny beth arnom, eithr cawsom fyned heibio heb wrthwynebiad. Gwelsom lawer o ryfeddodau ereill sydd rhy faith i'w nodi, ond mi a ddywedaf wrthych, deuwch ac edrychwch arnynt.

Danfonwyd wageni o'r Ddinas i'n cyfarfod, 300 o filldiroedd, wedi eu llwytho â lluniaeth fel na fu eisieu arnom. Cyrhaeddasom Ddinas y Llyn Halen Mawr ar y 1af o Hydref. Gwelais luoedd o Saint a adwaenwn.

Mae y Ddinas wedi ei gosod yn y modd mwyaf ardderchog; rhoddir erw o dir at bob tŷ, costia ddolar a hanner yn gyffredin. Ennillir o 8 i 9 swllt y dydd am weithio. Pris y gwenith yw 8 swllt, a'r pytatws yn 4 swllt y bwshel, y cig yn 5 ceiniog y pwys, ac y mae y mwyrif yn gwneyd eu caws a'u hymenyn eu hunain. Mae y dillad yn ddrud.

Ymsefydlais i yn y lle hwn, sef Dinas yr Helyg, 15 o filltiroedd o Ddinas y Llyn Halen Mawr. Cefais waith i ladd gwair am 15 swllt y dunell, a chael dewis fy lle mewn maes o 12 neu 15 milltir ei faint: lleddais dunell y dydd. Dyma le i ffarmio; ceir tir am ddim ond talu am ei fesur, yr hwn a gynnyrcha y gwenith blasusaf a brofais erioed. Ceir un bwshel o bob saith am ddyrnu. Codir y ceirch, yr *Indian corn*, a'r pytatws goreu

yma, ynghyd a betys at wneyd siwgr. Mae yma ffrwythau na welais i erioed o'r blaen, sef y melons, a water melons; fe fwyteir llawer o honynt yn oer; maent yn debyg eu blas i bêr y wlad yna. Cynnyrchir pob peth yma at gynnaliaeth dyn ac anifail. Nid oes eisieu tiroedd eang, o herwydd fod digon o dir porfa i'r anifeiliaid tuallan i'r lle y rhoddir y gwenith, &c. Mae bugeiliaid yn bugeilio y da, ac yn cael eu talu gan bob ffarmwr yn ol rhifedi ei dda. Ceir digon o wair heb gauad y caeau gwair, ond myned allan i'w dorri. Nid oes ei eisieu ond am y rhan fyraf o'r gauaf, ac felly nid oes achos i ddyn ddefnyddio ei dir i godi dim ond cnwd. Yr wyf yn meddwl am rai yna na wyddant pa fodd i gael tir, er boddloni talu yn ddrud am dano, y dichon eu bod yn fy ammheu, ac yn meddwl ein bod yn anghytuno â'n gilydd am y tir, ond y gwir wyf yn ddywedyd; fe gynnygiwyd 5 erw amgauedig i mi am weithio 16 o ddiwrnodau, ond dywedwyd wrthyf ei fod yn rhy ddrud. Mae yma bob chwareu teg i ddyn i fyw yn ol yr hyn a weithia, heb neb i fyw ar ei gost neu ei gaethiwo, eithr y mae cyfleusdra ganddo i fod cyfuwch â neb sydd yma drwy ei ymdrech. . . .

Dywedwch wrth y rhai a ddeuant yma nesaf am ddyfod â bachau ynghyd a rhwydau pysgota.

Yr wyf mor iach yma ag y bum erioed. . . . Bydded i chwi ufyddhau i'r efengyl, a dyfod yma. Coflwch fi at fy ngyfeillion, a derbyniwch hyn oddiwrth

Eich anwyl fab,

EVAN MORGAN.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MAWRTH 17, 1855.

LLWYDDIANT YR EFENGYL YN NGHYMRU.—Hysbysir ni gan amryw Lywyddion Cynnadleddau eu bod wedi trefnu cyfarfod i holl Saint pob Cangen ddyfod ynghyd y nos Lun cyntaf, a'r

trydydd nos Lun o bob mis, i weddio am fendith yr Hwn a bia y gwaith ar ymdrechiadau ei blant drwy ein gwlad er achub eneidiau eu cyd-ddynion, a deallwn ei fod Ef yn cydnabod eu hymgais ac yn ateb eu gweddiau yn rasol, drwy dywallt ei Ysbryd Glân yn helaeth yn y cyfarfodydd hyny; ac o amryw fanau clywwn ei fod Ef yn cyfranu ei ddoniau ysbrydol ar y Saint yno, ac yn eu nherthu i argyhoeddi eu cymmydogion yn effeithiol. Mewn manau ceir bywyd adnewyddol i'r llesg, a doniau i'r rhai a fuasent ddiffrwyth yn hir; dosperthir traethodau i'r sawl a elo i'w gwerthu, ac yn y cyfarfod canlynol daw a'r tâl am danynt, a chaiff ychwaneg i wneuthur yr un modd. Felly gwertha rhai Cangenau yr holl draethodau a gaffant, a cheisiant chwaneg, a'r effaith o hyny sydd amlwg ar y prynwr a'r gwerthwr—mwynhâ yr olaf fwy-fwy o Ysbryd y gwaith, a llawenhâ yn ffrwyth ei lafur pan yn gweled y lleill yn dyfod yn aelodau o eglwys Dduw. Er mai dydd ychydig eiriau yw y dydd prysur hwn, a dydd i weithio yn gystal a gweddio, etto cofied y Saint bob amser gyssylltu y ddau ynghyd, canys er pob peth, "Duw sydd yn rhoddi y cynnydd." Dymunwn bob llwyddiant i'r cyfarfodydd hyn lle eu cynnelir, a dysgwyliwn na cheir Cangen hebddynt yn hir, nac aelod a all eu hesgeuluso. Pwy na wela y grym a fyddai yn ngweddiau ffyddiog a thaerion y Saint oll drwy ein gwlad ar yr UN AWR yn nghlystiau ein Tad; a phwy na phrophwyda orlifiad bendithion yn gyferbyniol i hyny? Gweddied, ïe, cyd-weddied y sawl a wyddant pa fodd i gael atebiad i'w gweddiau, nes cael y llwyddiant a deilynga y genadwri bwysig a gyhoeddwn.

Mae yr oll a welwn ac a glywwn yn y cylchoedd hyn, a'r hyn a ddeallwn oddiwrth Lywyddion Cynnadleddau ereill, yn brofion melys fod Duw yn llwyddo ei waith. Mae cynhwrf cyffredinol yn dechreu, yr esgyrn meirw yn ymysgwyd, ac yn treiglo i ddyfroedd bedydd yma, a manau ereill—traethodau, dan fendith Iôr yn deffro byd ac eglwys, a duwioldeb y Saint yn ennill parch ac ufydd-dod i'w crefydd.

---

"Y MORMON,"—Yw enw newyddiadur a gyhoeddir yn wythnosol gan yr Apostol John Taylor yn Ninas Caerefrog Newydd, U. D. America, ac yn ol yr enghraifft a geir o gynnwysiad ei rifyn cyntaf, yr hwn a'n cyrhaeddodd yn ddiweddar, ynghyd

a'n hadnabyddiaeth ni, a miloedd ereill drwy y ddau gyfandir, o fedrusrwydd ei Olygydd, teimlwn bleser mawr yn cymhell "Y MORMON" i sylw ein darllenwyr, gan obeithio y teimla ein dosparthwyr yr unrhyw bleser yn lledaenu ei gylchrediad hyd y gallant. Dyrchafa hwn, fel y dylai pob Mormon, ei lais nerth ei ben i waeddi yn nghlystiau ei chamgyhuddwyr, "Chwareu teg i Formoniaeth;" llanwir ei enau â'i detholion egwyddorol, hanesyddol, cartrefol a thramor, cymdeithasol, gwladwriaethol, crefyddol, philosophyddol a pholiticaidd hi, ac addawa bleidio pob gwir, a gwrthwynebu pob gau, deued o ba le y delo.

Ni all cyhoeddiad o'r fath, o dan olygyddiaeth mor alluog, ac yn nghanol newyddiaduron mor elyniaethus i Formoniaeth, beidio bod o fawr les i achos y gwirionedd, a chynnydda ei ddefnyddioldeb yn yr ystyriaeth o'i bleidgarwch i Utah; ac fel cyfarwyddwr i'r holl Saint yngwyneb y cyfnewidiad yn yr Ymfudiad drwy y Taleithiau dwyreiniol bydd yn anmhrisiadwy i'r ymfudwyr. Er mwyn y rhai na allant ei gael dyfynwn o'i ddetholion i dudalenau ein HUDGORN weithiau.

Ei bris i dderbynwyr blynyddol yw 13s yn flaen-dâl, neu 4½c y rhifyn fel y canlyn, pris y cyhoeddiad 2c, llythyr-doll 2, elw i'r dosparthwr 0½c. Nid yw hyn yn cynnwys y cludiad o Liverpool i'r derbyniwr, disgyna hyny arno ei hunan yn ychwanegol. Anfoner at F D. Richards am dano, a chyfarwyddyd manwl y dosparthwr.

---

*Dychweliad y Brawd Willis.*—Dywenydd genym ddeall trwy lythyr oddiwrth yr Henuriad Willis ei fod ef wedi tirio yn Liverpool yn iach a chalonog ar y dydd laf o'r mis hwn. Nid anadnabyddus i ddarllenwyr y *Star* a'r UDGORN yw enw a gweithredoedd anturus y Cenadydd ffyddlon hwn yn mherfeddion yr India bell; ei ymroadau difiino i gyhoeddi cenadwri y nef i drigolion eulun-addolgar y byd dwyreiniol, yngwyneb pob amrywiaeth o rwystrau ac anhawsderau a roddwyd ar ei ffordd gan genadon sectyddol gau Gristionogaeth, gan ystyfnigrwydd traddodiadau paganiaeth oesol, a chan hinsawdd afiachus y parthau hyny o'r byd, a anwyla ei goffadwriaeth yn nghroniclau cyssegredig plant Duw, a diau y crëa lawenydd ynddynt i glywed fod y brawd Willis yn bwriadu ymweled â'r Saint Cymreig, yn mhlith pa rai y cafodd ei gynnysgaethu ag

Offeiriadaeth Mab Duw, ac o ba le yr anturiodd ar ei genadiaeth i'r India, ac hyderwn yr arddengys y Saint Cymreig eu caredigrwydd a'u haelioni cyssefin trwy ddiwallu angenrheidiau a dangos y sirioldeb a allant at y Brawd Willlis pan y daw i'n plith, gan gofio geiriau ein Hiesu gofalus. "Yn gymmaint a'i wneuthur i un o'r rhai hyn, fy mrodyr, yn wir, i mi y gwnaethoch."

---

*Swyddfa y "Millennial Star."*—Bwriada y Llywydd F. D. Richards symud ei Swyddfa o "15, Wilton St.," i "36, Islington, Liverpool," lle y dymuna gyfarwyddo pob llythyrau atto ar, ac ar ol y dydd 1af o Ebrill nesaf.

Nid yw y ffaith o fod y Swyddfa bresennol wedi myned yn rhy gyfyng i wneuthur busnes prif Swyddfa yr eglwys yn Ewrop yn gwirio dim ar brophwydoliaethau lliosog gau brophwydi ein hoes am drancedigaeth buan a hollol Mormoniaeth, eithr y mae yn brawf arall at bob peth a welir o'i chynnyddiad digyffelyb; ac fel yn hyn, felly y mae yn mhob peth a man arall, estyna ei chortynau, a gwaedda o hyd ac yn uwch "Moes chwaneg o le." Llwyddiant a chwaneg o gynnydd i'n Llywydd a'i waith dwyfol, nes y byddo Swyddfa fwyaf y dref yn rhy fach iddo; ac i Formoniaeth nes byddo y ddaear fach hon yn rhy gyfyng i'w hufyddion, yw dymuniad gwaelaf pob carwr y gwir ar ei rhan.

---

## TALWCH EICH DYLEDION.

### GAN Y LLYWYDD FRANKLIN D. RICHARDS.

Tra mae y Saint yn ymegnïo â phob gewyn er cael digon o fodd i ymfudo eu hunain, a'r rhai a ymddibynant arnynt, nid anfuddiol fyddai i ni gynnyg ychydig o sylwadau mewn cyssylltiad â'r ddwys ystyriaeth o dalu dyledion.

Ac yn gyntaf, caniatawn fod dymuniad awyddus yn mhob un sydd ag unrhyw honiad i'r teitl o Sant am ddileu ei ddyledion arianol, ac ymadael â gwlad ei enedigaeth yn ddyn rhydd ac anymddibynol, mor bell ag y perthynant hwy, gan adael dylanwad iachus ar ei ol.

Da fyddai i'r Saint, pe ei gwnelent yn bwnc, mor aml ag yw

ddichonadwy, i osod eu holl oruchwylion masnachol ar ddu a gwyn, hyny yw, mynu eu hymrwymiadau a'u tâl-brawfiadau *(receipts)* ar bapyr, canys y mae yn anghysurus a thrafferthus iawn i ymfudwr gael ei rwystro, ar ei ymadawiad o'i wlad enedigol, trwy ryw esgus wael, tarddedig oddiar ryw hen drafodaeth fasnachol a setlwyd yn onest er ys blynyddau yn ol, ac sydd yn anmhrofedig yn awr, eithr am ba un ni fedd y dyoddefydd druan un ddangoseg o'r taliad. Gan fod Satan yn hollol wrthwynebol i adaeladiad teyrnas Dduw, gellir penderfynu yn naturiol nad diffygiol fydd o dreio pob cynllun a attalia neu a rwystra yn effeithiol, ymgasgliad y Saint, a thrwy wneyd hyny torai ymaith un achos mawr o gynnyddiant a nerth i'r deyrnas hono. Mewn ffaith, ymddengys iddo, drwy ryw foddion neu gilydd ymestyn yn mhell iawn tuag at gyflawniad o'r dyben hwnw y tymmor hwn. A dysgwyliwn yn ddiamheuol am gynnyddiant rhwystrau ar ffordd yr ymfudiad o blith llawer o genedloedd yn gyffredinol, o hyn allan, er fe ddichon y dygwydda llanw a thrai, tymmorau ffafriol ac anffafriol ar yn ail â'u gilydd, hyd oni welir nad â neb i fyny tua Seion ond y pur o galon, a llawer o honynt hwy fe ddichon yn unig drwy gyfryngoliaeth yr Offeiriadaeth a aethant tu hwnt i'r llèn, fel y mae yn ysgrifenedig, "Yr Arglwydd a ddenfyn ei angylion i gasglu ynghyd ei etholedigion Ef o bedwar cŵr y byd."

Ond fe ddichon i Saint yn ogystal ag ereill fyned i gyfyngderau masnachol weithiau, neu i ddyled, nes methu braidd a gwybod pa beth i wneuthur, na pha le i droi. Er enghraifft, magwyd un i fynu yn foneddigaidd, ac i ymwneyd â masnach elwol iawn, ond, yn mhen ennyd lleihâ ei fasnach yn gyflym, efallai mai o herwydd caledwch yr amser, neu efallai mai o herwydd rhagfarn yn erbyn ei grefydd; efallai mai trwy ryw achos arall, neu gyssylltiad achosion. Fel y lleihâ ei grefft, felly hefyd ei elw, ac y mae yn ymgauedig o bob tu. O herwydd fod taliadau ganddo i'w talu ar ddydd penodol, dichon y gwna fenthyca gan ryw frawd a fo wedi crynhoi ychydig gogyfer ag ymfudo, gan sicrhau ad-daliad iddo y pryd a nodir. Rhoddir benthyg yr arian, ac mae ef wedi ei gynnorthwyo. Eithr am amser yn unig y mae. Wedi arfer bob amser i gael "ymwelwyr" i giniawa a swpera, meddylia yr edrychai yn warthus a chybyddlyd i adael yr ymarferiad ar unwaith. O

ganlyniad ymgrynhöa "ymwelwyr" fel arferol, a chan eu bod hwy yno rhaid i'r cyweir-fwydydd. y gwin, a'r holl fanylrwydd o bethau fod yno fel arferol. Etto ni wellhâ y fusnes. ac o ganlyniad cynnydda y cyfrifoldeb, ac yn ganlynol y rhwymau yn dynach fyth. Ymofynir â'r brawd da wed'yn, yr hwn a fenthyca yr hyn a geisir drachefn. Ond y mae amser talu yn dyfod, ac nid oes modd gan y benthycydd i ad-dalu. Esgeulusir y rhoddwr haelionus yn awr a fawrygwyd o'r blaen, edrychir yn oeraidd arno, a gochelir ei bresennoldeb ar bob tro a ellir. O'r diwedd daw yr amser yn mha un y bwriada ymfudo, ond y mae ei feddiannau yn glöedig yn nghyfrifon y benthyciwr, ac yn anghyrhaeddadwy, ac nis gellir cael ychwaith ddim yn eglur a phendant oddiwrtho Y canlyniad yw dolurio teimladau y brawd da, siomir ei ddisgwyliadau am ymfudo, a'i ymdrechiadau ymegnïol a chlodwiw am fisoedd, ac am flynyddoedd fe ddichon, a ddiddymir am yn bresennol, tra y tuedda yr holl drafodaeth yn lle i ysbrydoli y Saint ag ymddiried y naill yn y llall, i genedlu a magu teimladau anymddiriedol a drwgdybus yn mynwesau pawb a ddeallant y ffeithiau.

Oni fuasai yn gyfiawnach, yn fwy mawreddog, ac yn fwy canmoladwy pe y dangosasai y brawd oedd mewn cyfyngderau ei amgylchiadau a'i obeithion yn ddiledrith i'r brawd da a'i cynnorthwyodd mor gymmwynasgar, ac oni thueddai y ffordd hono i gynnyddu cydymdeimlad ac ymddiried yn y Saint tuag at eu gilydd, ac i ennill dylanwad iachusol a dymunol yn mhob dull? Mae yn sicr y gwnelai.

A gofynem, pan y mae brawd mewn cyfyngderau bydol, ac nad oes modd yn y byd i'w gochelyd, nac un argoel yr ysgafnhâ y baich, ac y cynnygir iddo gyfleu i ymfudo, onid gwell fyddai iddo darlunio i'w ofynwyr wir sefyllfa pethau, sicrhau iddynt ei fwriad diysgog i'w talu, cyn gynted ag y bo modd, dangos y gwellhai yr argoelion iddo wneyd hyny drwy ei ymfudiad i wlad lle y bo cyflogau yn fwy, ac anghenrheidiau bywyd yn fwy rhâd, ac i'w cael yn rhwyddach nag yn Mhrydain,—onid gwell fyddai yn mhob dull i wneuthur hyny nag i gilio ymaith heb weled y naill ofynwr neu y llall, ac heb adael iddynt un hysbysiad arweinyddol i wir sefyllfa pethau, oddi eithr nad oedd dim iddynt i gael? Pe dilynid ein ffordd gyfarwyddiedig ni, rhaid fyddai i'r gofynwyr fod yn galon galed i'w

dyledwr, ac yn fyr o weled eu lleshâd personol, pe rhoddent unrhyw rwystr ar ei ffordd i ymfudo. A phe y rhoddent goel iddo, ac y cadwai yntau ei air iddynt, oni achosai ei ymddygiad ddylanwad dymunol, hyd y nod yn y byd—ddylanwad cyflawn effeithiau yr hwn ni ddarlunir ond gan dragywyddoldeb yn unig.

Mae yr ymarferiad, sydd yn ffynu mor helaeth yn y byd, o fyw yn rhodresgar ar arian dynion ereill, yn gyfryw nas gellir ei anghymmeradwyo yn ormodol. Nis gallwn lai nâ'i gondemnio yn ddidrugaredd, a lle y gwerthir cyssylltiadau cyfeillgarwch, ac hyd y nod frawdgarwch, i gynnal y fath anghyfiawnder, mae yn ddiau y dilyna condemniad dau-ddyblyg. Nid yw yr ymarferiad o ddyledwr yn rhedeg ffwrdd o'i wlad yn ddirgelaidd er dianc rhag ei ofynwr un dim yn deilyngach o ganmoliaeth. Rhaid i ni gyhoeddi gwrth-farn gadarn yn erbyn unrhyw ymwneuthuriad ag un o'r ymarferiadau a nodwyd, ac hyderwn y meddianna y Saint bob amser y cyfiawnder a'r gostyngeiddrwydd idd eu cadw ymaith yn mhell oddiwrthynt.

*Cyf.* Wm. Lewis.

---

## MARWOLAETH YR AMHERAWDWR NICHOLAS.

Hysbysodd Iarll Clarendon Dŷ yr Arglwyddi ei fod wedi derbyn hysbysiad o Hague, fod Nicholas, Amherawdwr Rwsia, wedi marw o'r apoplexy, Mawrth yr 2il, ac yn cadarnhau hyny, daeth hysbysiad arall o Berlin; awr cyn hyny hysbysodd Arglwydd John Russel ef o'r dref uchod fod yr amherawdwr yn glaf annobeithiol o wella, a'i fod wedi ffarwelio a'i deulu. Achosodd y grediniaeth o hyn i'r Arglwydd Lyndhurst ohirio cynnygiad a fwriadai ddwyn o flaen Tŷ yr Arglwyddi, dan yr ystyriaeth y caffai marwolaeth yr Amherawdwr effaith gref ar y rhyfel presennol, os na chyfnewidiai fwriadau Rwsia yn drwyadl.

Yn ganlynlol i'r newydd uchod, hysbysir fod ail fab Nicholas wedi cael ei ladd o flaen Sebastopol yn ddiweddar, tra yn blaenori y milwyr mewn rhuthr ar y byddinoedd cyngreiriol.

---

## PENNILLION.

HENFFYCH foreu teg a wawriodd,
Ar ein daear yn ein dydd;
Llais trugaredd a glybuwyd,
Sain hosannah heddyw sydd:
Gwelwyd Iesu T'wysog bywyd,
Ar ddeheulaw y Duw mawr,
Gwir oleuni a gyfranwyd,
I drigolion gwael y llawr.

Llais angylion yn cyd-seinio,
Cedyrn dystion glywir draw,
Gweledyddion a phrophwydi,—
Archiad Duw o'r nef a ddaw;
Atoch Israel mae yr alwad,
I'ch 'stafelloedd dewch ar frys;
Tithau Juda, clyw ei genad,
Rhag dy losgi gyda'r ûs.

Dydd i ddïal sydd ar ddyfod,
O'ch phïolau, farnau Duw,
Ni ddychwelant nes cyflawni
Holl fwriadau Iesu gwiw;
Gwychaf feibion dewrion daear,
Leddir 'nawr am ddrwg y byd,
Haint a nodau fydd a newyn,
Trwy'r holl ddaear braidd i gyd.

Purir daear, gwelir Iesu,
Ar ei orsedd wen yn awr,
Saint yr Arglwydd yn teyrnasu,
Gyda'r Brenin ar y llawr:
Adgyfodir ein prif dadau,
Yn yr amser hyfryd hyn:
Deuant atom i'n palasau,
Oll mewn gynau glân a gwyn.

*St. Sior.* JOHN PARRY.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Pasiodd y cynnyg i wneuthur rheilffordd o'r Taleithiau Unol i'r Môr Tawel, y trydydd darlleniad yn fuddugoliaethus yn y Senedd Americanaidd Bwriedir i'r brif gledrffordd gychwyn o gŵr gorllewinol Missouri neu Iowa, croesi y Mynyddoedd Creiglyd rhwng lledred 36 a 43 gogleddol, ac oddiyno y ffordd hawddaf tua San Francisco. Fforcha o'i chychwynfan i'r deau tua Memphis, ac i'r gogledd hyd gyffiniau Llyn Superior. Cyflwyna y llywodraeth yr ail 640 o erwau o dir cyfochrog am 12 milltir ar ei hyd i dalu y draul o'i gwneuthur.

Y Rhyfel.—Nid oedd gan yr Arglwydd Raglan un newydd o bwys i hysbysu y llywodraeth hyd Chwefror y 13eg, ond fod y tywydd gwlyb wedi gwneuthur gwyneb y ddaear oddeutu Balaklava a'r cylchoedd yn llaid anhawdd i ddyn nac anifail ymlusgo drwyddo. Dyweda fod cyflyrau a iechyd y fyddin yn gwellhau, ac er prawf o hyny deufyn restr hirfaith, sy'n llanw dros golofn gyfan o newyddiadur mawr, o enwau y rhai a fuasent feirw yn yr *wythnos* flaenorol.

Brwydr Eupatoria.—Ymosododd 40,000 o'r Rwsiaid gyda 70 o fagnelau ar Enpatoria ar doriad y dydd. Chwef. 17eg, ac ymladdasant hyd 10 o'r gloch, pryd y gyrodd Omar Pasha hwynt yn ol, gyda lladdfa o tua 500 o wyr, a chollodd yntau ond 15, a chlwyfwyd 35, yn mhlith y blaenaf yr oedd Selim Pasha, Cadfridog Aifftaidd.

Camsyniad.—Pan oedd hen wraig yn ddiweddar yn myned i mewn i Eglwys y Plwyf a'r gynnulleidfa yn codi wedi gweddio, hithau a waeddai "Peidiwch symud er fy mwyn i, fobl fach."

---

Derbyniadau am Lyfrau o Mawrth 2 hyd y 10.—Thos. D. Evans, 15s; Jonathan Ellis, £1.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones*, "*Udgorn Seion*" *Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 7.] MAWRTH 31, 1855. [CYF. VIII.

## DARLITH YR APOSTOL ORSON HYDE.

*A draddodwyd yn Ninas y Llyn Halen Mawr, Hydref* 8, 1854.

[Parhad o dud. 36.]

Pa fodd bynag gadawn hyn o'r neilldu yn bresenol. Bydd gan angylion ran yn ngwaith y dyddiau diweddaf. Pa beth y maent hwy i wneuthur? Dywed yr Iachawdwr, "Teyrnas nefoedd sydd gyffelyb i ddyn a hauodd hâd da yn ei faes; a thra yr oedd y dynion yn cysgu, daeth ei elyn ef, ac a hauodd efrau yn mhlith y gwenith, ac a aeth ymaith." Gadawodd i'r ddau gyd-dyfu hyd y cynheuaf, pan y dywed wrth ei fedelwyr, "Cesglwch yn gyntaf yr efrau, a rhwymwch hwynt yn ysgubau i'w *llwyr*-losgi, ond cesglwch y gwenith i'm hysgubor." Y maes yw y byd. Pwy yw y medelwyr? Y medelwyr yw yr angylion, ac etto dywedwch na ddaw angylion i'r ddaear mwyach. Nid rhesymol hyny; canys y medelwyr yw yr angylion; yr hâd da yw plant y deyrnas, a'r efrau yw plant yr un drwg, a'r gelyn a'u hauodd hwynt yw y diafol. Mewn lle arall y dywedir, "Ac Efe a ddenfyn ei angylion, gyda mawr sain udgorn, a hwy a gasglant ei etholedigion Ef ynghyd o'r pedwar gwynt, o'r naill gŵr o'r nefoedd i'r llall." Ac etto dywed y byd Cristionogol nad oes ychwaneg gan angylion i wneuthur; wrth gwrs, ynte, ni ddysgwyliant unrhyw beth o'r fath; ni efelycha eu ffydd ddywediadau yr Iachawdwr a'i Apostolion mewn cyssylltiad â'r diweddglo a ddygwydda: ac heb ffydd

anmhosibl yw rhyngu bodd Duw; o ganlyniad nis gallant gyfranogi o fendithion goruchwyliaeth ymgasgliad y dyddiau diweddaf; mae eu hanghrediniaeth yn eu cau allan.

Dywedir fod Duw yn cynnorthwyo y rhai hyny sydd yn cynnorthwyo eu hunain Dan-osais pa beth a wneir idd ei etholedigion Ef yn y dyddiau diweddaf; ond a wna Efe hyny i'r rhai na wnant ddim drostynt eu hunain? Dywedaf na wnaiff; cynnorthwya Duw y rhai a gynnorthwyant eu hunain. Cofus genyf am yr amser yr oeddwn yn Potawatomie, penderfynais godi cnwd pe gallwn. Dechreuais ag aredig y tir, ac aethym i'r goedwig pan yr oedd yn ddigon poeth yn yr haf i doddi cwyr, ac helais allan fy mholion cauad, amgauais a hauais y tir; pan y daeth eira, yr oedd enuf o wenith ar hyd wyneb y tir fel gwlan ar gefn dafad. Gwelodd y Llywydd Brigham hyny, a dywedodd iddo ei foddhau; a dywedodd, "Mi a wn fod Duw yn helpu y rhai a helpant eu hunain. Gallwn eistedd yn llonydd, a pherswadio ein hunain mai ewyllys Duw yw i ni beidio gwneyd dim drosom ein hunain, a gallwn fyned i gardota; ond os helpwn ein hunain, a llafurio er i natur ddwyn allan, cawn ddigonedd, a bydd Duw yn ffyddlawn yn bendithio ein hymdrechiadau.

Dysgwyliwn i'r pethau hyn gymmeryd lle yn y dyddiau diweddaf, i ddwyn oddiamgylch ymgasgliad y Saint, yn barotoadol i ddyfodiad Mab y Dyn. Gwelwn y gwyfrau trydanawl yn lledaenu trwy y byd; ac adeiladir llongau i redeg yn gyflym â chenadon iachawdwriaeth, i ddwyn y Saint adref dan law dirion ein Tad nefol. Pa beth y mae Efe yn ofyn i ni wneuthur? Dywedai Efe, "Yr wyf yn cyflwyno i chwi fy ngweision allweddau teyrnas nefoedd, awdurdod yr Offeiriadaeth, goleuni dealltwriaeth, a gwybodaeth er eich gwneyd yn hyddysg yn yr holl bethau hyn; yn awr y mae arnaf eisieu gweled os rhoddwch law o gynnorthwy, gan wybod fel y gwyddoch chwi, ewyllys eich Meistr, a chan ddeall yr holl gynllun ar ba un y gweithreda; mewn prawf fel y gwelwyf os gweithiwch chwi yn ol y gallu a roddais i chwi." Pa beth sydd i wneuthur? Ewch allan a phregethwch yr Efengyl yn mhlith y cenedloedd, a bedyddiwch hwynt yn fy enw i er maddeuant pechodau, a chadarnhewch hwynt drwy arddodiad dwylaw er derbyn dawn yr Ysbryd Glân, a dysgwch hwynt i ymgasglu; canys y mae

yn oruchwyliaeth yr ymgasgliad, ac os na feddant fodd i ymgasglu, bydded i chwi eu diwallu â modd i ddyfod. "Yn awr," meddai yr Hollalluog, "y mae arnaf eisieu eich profi, a gweled os iawn weithredwch mewn pethau bychain, fel yr ennilloch deilyngdod i gael eich bendithio â'r moddion a ddarparaf, a'r hwn a ordeiniais. Y mae arnaf eisieu gweled os ydych yn deilwng." Pa beth ydym ni wedi wneuthur yma er dwyn i weithrediad yr amcan dymunol hwn? Yr ydym wedi dechreu casglu y bobl, ac wedi dechreu sefydlu trysorfa trwy yr hon mae y Saint tlodion i gael eu casglu; ac fe sylfaenwyd hyn ar egwyddorion cymhwysiadol i ni yn nyddiau ein babandod; ond mae yn debyg, pan yr estyn yr Hollalluog ei fraich Ef ei hun allan, i gyflawni ei waith ei hun, a chynnal gweithrediadau bychain ei weision, cawn wybod mai pethau bychain sydd genym ni, pan welom beiriant nerthol Duw yn gweithio; canys pan oeddem yn blant, llefarasom fel plant, deallasom fel plant, a meddyliasom fel plant; eithr pan y deuwn yn ddynion, cawn roddi ymaith bethau plentynaidd. Y mae genym yn awr i ymwneyd â phethau bychain, fel yr elom yn mlaen o un nôd i'r llall. Pa bethau yw y pethau bychain? Dyma Drysorfa Ymfudol Barhaus er enghraifft, i'r dyben o gasglu Saint Duw. Pa fodd ei chyfodir? Cyfodir hi drwy gyfraniadau haelionus oddiwrth bob un sydd yn alluog i gynnorthwyo, ac a fedd galon ac ysbryd i ymwneyd â gwaith Duw yn y dyddiau diweddaf. Cyfodir hi trwy gyflogau caledwaith y brodyr a'r chwiorydd. Yr hadlingau bychain a'r hadlingau mawrion, y symiau bychain a'r symiau mawrion wedi eu rhoddi ynghyd mewn un logell ydyw hi.

Yn awr, ewch, a dygwch hyn, chwi genadon cyflym, chwi oruchwylwyr ffyddlon, mewn llongau o lafrwyn, pib-longau, neu mewn geiriau ereill, agerdd-longau, a byddwch genadon o newyddion da i'r tlodion, y trueiniaid, a'r gormesedig, a rhai addfwyn y ddaear. Y mae yn anrhydedd i fod yn genadydd, i'w hanrhegu â'r modd er eu dwyn o'u tylodi, eu truenusrwydd, a'u gormes. Dywed wrthynt, "Daethym er eich dwyn chwi i deulu Duw, idd eich gwared o wlad eich gormes a'ch tlodi, ac i'ch gosod mewn sefyllfa lle eich bendithir yn dymmorol ac yn ysbrydol. Onid yw yr hwn sydd yn dwyn y newyddion da hyn yn fendigedig? "Mor weddaidd ar y mynyddoedd yw

traed yr hwn sy'n efengylu, yn cyhoeddi heddwch; a'r hwn sydd yn mynegu daioni, yn cyhoeddi iachawdwriaeth; yn dweyd wrth Seion, Dy Dduw di sydd yn teyrnasu." Mae y cyfryw genadydd yn myned ac yn eu dwyn i'r lle hwn trwy y moddion a roddir yn ei ddwylaw.

Yn awr, mi a adwaen rai a feddyliant yn ol cael eu dwyn yma drwy y cyfrwng hyn eu bod wedi cyrhaedd diogelwch sicr. Dywedant, "Yr wyf yn ddiogel yn awr mewn porthladd llonydd, yr wyf yn mhlith pobl Dduw, ac ni hidiaf ond hyn. Yn awr gwnaf fy hun mor ddedwydd ag y medrwyf, ac anghofiaf fy nghyfeillion a adewais mewn caethiwed; ni chofiaf y rhai hyny sydd yn cael eu gormesu tan yr iau chwerw, yr wyf fi yn rhydd, gofalent hwy am danynt eu hunain." Dyma y teimlad sydd yn llywodraethu mynwesau amryw, wedi eu dygir yma trwy foddion a enillodd dwylaw ereill; a dywedant "Os gallwn lwyddo yn rhywfodd i ohirio yr adaliad sydd arnom i'r Drysorfa hon a'n dygodd yma, hyd oni phentyrom o'n hamgylch gysuron bywyd, yna, ysgatfydd, ni a dalwn ein hymrwymiad." Eithr caniatewch i mi sylwi fan yma, pan y mae yn y gallu i dalu dyled, neu i wneuthur gweithred dda, po hiraf ei gohiriwn, po fwyaf a fydd y gwarth oddiwrth haeddiant y fath weithred; yn awr yw yr amser cymmeradwy, yn awr y mae dydd iachawdwriaeth, pan mae y newynog, y tlawd, y truenus, a'r gormesedig yn gwaeddi am waredigaeth. Tra y mae y gallu i'w gwared yn ein dwylaw ac ni wnawn ei estyn iddynt, pa fodd y dysgwyliwn i Dduw i wrandaw ein gweddiau i hwyluso ei waith mawr er hollol waredigaeth gweddillion gwasgaredig ei bobl. A gadewch i mi ddweyd fan yma, yr wyf yn ammheu llawer iawn pa un a wrendy Duw weddiau unrhyw ddyn ag sydd arno ddyled gyflawn, a chanddo fodd i'w thalu, eithr a wrthoda ei wneuthur; neu a attalia fendith rhag ei gyfaill pan y mae yn ei allu i'w rhoddi iddo. Pa beth yw ei weddi? "Maddeu i ni ein dyledion fel y maddeuwn i'n dyledwyr," neu mewn geiriau ereill gwna i ni fel y gwnawn tuag at ereill: os attaliwn leshâd a berthyna i ereill, pa fodd y cyflwyna Duw fendithion i ni na pherthynant i ni, eithr y rhai ydynt weithredoedd ei drugaredd a'i diriondeb? Pan yr ydym wedi cyfranogi o ddaioni unrhyw anrheg elusengar, yn enwedig pan y daliwn gyfran o honi yn ein dwylaw a ddylasai fod yn

Hesoll ereill, pa fodd y dysgwyliwn i Dduw, neu mrhyw ddyngarwr estyn bendithion i ni.

Pa beth yw dyledswydd y Saint a ddaethant yma drwy gymhorth a lleshâd y Drysorfa Ymfudol Barhaus? Eu dyledswydd yw talu y ddyled sydd arnynt yn uniongyrchol. "Ond," meddai un, "nis gallwn dalu, nid oes modd genym;" o'r goreu ynte, nis gormeswn arnoch, ond gallwch roi eich dangoseg a gadael eich hymrwymiad gyda'r goruchwyliwr, neu gyda'r cyfryw awdurdodau dros y Drysorfa ag y perthyna, fel y caffont rhyw brawf-ysgrif i weithredu oddiwrtho; neu o'r hyn lleiaf, fel y gallont ddweyd yn mha le y mae arian y Drysorfa, —yn nwylaw pwy yr arhosant; eithr nac ewch i'r dwyrain, i'r gorllewin, i'r gogledd, nac i'r deheu o'r ddinas hon heb ei gofnodi mewn rhyw ddull; a phan y gesyd Duw y modd yn eich dwylaw, drwy eich hymdrech a'ch cynnildeb chwi eich hunain, talwch ef drosodd, a dileuwch y ddyled, a danfonir y meddiannau hyn drachefn i gynnorthwyo rhywun arall; ac feallai y dwg yr un meddiannau a'ch dygasant chwi fil o bersonau, os byddant ffyddlon a diwyd idd eu dychwelyd i ffordd eu defnyddioldeb.

Er enghraifft, cymmeraf hanner dolar, ac y mae yn ddyled sydd arnaf, mi a'i talaf, a bydd ar y dyn hwnw i un arall, ac erbyn yr â oddiamgylch, bydd wedi talu cant o ddyledion, a chynnorthwyo cant o anghenion; tra wrth ei gadw yn fy llogell y rhwystraf ei gylchrediad a'r daioni mwy a wnelai. A ennillaf enw da wrth hyny? Caf y boddlonrwydd o ddweyd nad wyf heb arian, tra ar yr un pryd y bydd sarhâd arnaf gerbron Duw a phob bod deallus.

Wel ynte, ad-daler yr arian a ddefnyddiwyd i ddwyn y Saint yma yn uniongyrchol; a bydded yn fater o gydwybodolrwydd. Pe gwelech eich cymmydog yn hongian oddiwrth dŵr wrth linyn brau, yr hwn, wrth yr ymysgwydfa leiaf, a allai dori, a'i ollwng i gwympo, a chael ei ddryllio yn ddarnau, rhedech i'w achub nad beth fyddech yn wneuthur, a cheisiech eich heithaf i achub dyn a fyddai yn barod i ymsuddo i'r llyngclyn hwn, y gagendor odditano. Edrychwch, ynte, ar eich brodyr mewn cyflwr tebyg; ac efallai pe ymorchestent i ennill bywiolaeth, y suddid hwy i druenusrwydd am byth. Y mae hwn yn ddyled, yn ymrwymiad cyssegredig sydd arnoch, nid yn unig i awdur-

dodau yr eglwys a'r deyrnas hon, eithr i'ch brodyr a anfonant i fyny eu cwynfanau a'u gweddiau at Duw, os attaliwch yr hyn a berthyn iddynt.—yr hyn a ddylent gael ei fwynhau, ad-lama eu gweddiau yn ol ar eich penau, nid mewn bendithion eithr mewn melldithion.

Dywedwn bawb yma ein bod yn cael ein bendithio, dywedwn fod ein llafur a'n lludded wedi cael eu bendithio; yr wyf fi yn sicr o hyny. A allwn ni weithio allan ein hiachawdwriaeth? A allwn ni ardystio i Dduw a'r angylion, ac i'n brodyr, ein bod yn foddlawn i estyn ein dwylaw a chyfranu er chwyddo cyfanswm y Drysorfa Barhaus hon yn ol y gallu a roddes Duw ini? Ai boddlon ydym i estyn allan ein llaw a chynnorthwyo cyflawniad y gwaith hwn trwy gasglu y bobl ynghyd o druenusrwydd ac eisieu? Pa ennill a gawn wrth wneuthur hyn? Ennillwn lawer o bobl a edrychant arnom fel eu cyfeillion a'u cynnalwyr, ac a'n cyfarchant fel eu hiachawdwyr. Dywedir y "Daw iachawdwyr ar Fynydd Seion i farnu Mynydd Esau; a bydd y deyrnas yn eiddo yr Arglwydd."

*Cyf.*, William Lewis.

---

## "MAN BETHAU."

*(Allan o'r "Millennial Star.")*

Nid anaml y profir anturiaethau mawrion yn golledion anffawdus, ac y methir cyrhaedd yr amcanion pwysicaf, o herwydd ychydig ddiofalwch, neu esgeulusdod o'r materion gwaelaf eu hymddangosiad. Mae y fyddin Frytanaidd wedi toddi ymaith o flaen Sebastopol drwy newyn, noethni, a dyoddefiadau, y rhai a brofir gan y cyfryw yn unig a'u dyoddefant, a'r rhai nas gallant eu desgrifio, o herwydd nad ystyriwyd rhyw chwe milltir ddisylw er trosglwyddiad angenrheidiau.

Cymmerodd wyth diwrnod i ffurfio gweinidogaeth pan yr oedd tynghed Lloegr yn mantoli yn y gloriau, o herwydd nas gallwyd ymuno "mân bethau" teimladau pleidiol a llesâd personol â'u gilydd er gwneuthur llesâd cyffredinol. Nid anaml y gwyrdrôa dygwyddiadau dibwys y rhod ffortunawl, ac y gwnant y cyfoethog yn dlawd, a'r cardotyn yn fyrddiynydd. Difrodir dinasoedd,

enillir neu collir brwydrau ac ymherodraethau drwy ryw ddamwain, yr hon ni fyddai bwysig oni bai amgylchiad cyssylltiedig. Os nad anaml y penderfyna "mân bethau" faterion pwysicaf daear, maent yn bwysicach fyth, pan yn gyssylltiedig â gwaith mawr yr iachawdwriaeth. Dywed y gwr doeth mai y llwynogod bychain oeddynt yn yspeilio y gwinllanoedd.

Mae y dynol-fyd wedi bod cyhyd yn ymhollti yn ddarnau, ac yn ymbellhâu oddiwrth allu mawr unol yr Offeiriadaeth, ac wedi ymarferyd cyhyd â'r campau o ymranu a dadgyssylltu, fel y mae llawer o honynt yn anfeddyginiaethol, a ganiatewir iddynt enuill yr hyn a ddyfal geisiant—gwobr drwg weithredwyr, a gwagder ffyliaid. Y rhai hyny yn unig ag ydynt foddlon i ddysgu egwyddorion undybiaeth ac unoliaeth, i grynhoi y briwion o wirioneddau a ddadguddir iddynt o bryd bwy gilydd, i'w mhwynhau yn drwyadl trwy ymarferiad, ac yn y diwedd eu corffoli yn un cyfanswm mawr, yr hwn a amgaua ac a lywodraetha yn gyfangwbl bob gweithred a dymuniad o'u heiddo, a allant ddysgwyl gael eu crynhoi i fyny yn sypyn mawr yr iachawdwriaeth, a chael y fraint o fwynhau presenoldeb eu Tad yn y nefoedd.

Mae y diafol wedi bod ar waith er ys hir amser bellach yn difrodi a gwasgaru ar led. Mae gan wahanol grefyddau yr oes y fath amrywiaeth o ddysgedigaethau, wedi eu gwau mor gywrain, ac y mae "mân bethau" eu credoau mor wasgaredig, nid yn unig yn, eithr yn ol eu haeriad hwy eu hunain, tuhwnt i derfynau amser ac eangder, fel y mae braidd yn anmhosibl i gael digon o honynt ynghyd i'r ddealltwriaeth graffaf ganfod hyd y nod gysgod o sylweddoldeb. Eithr mae yr Arglwydd yn awr wedi dechreu y mawr waith o gasglu yr holl dda yn un, trwy gydosod ynewn un lle y gonestion o galon sydd yn wasgaredig yn nghanol y cenedloedd, fel eu gosodir mewn amgylchiadau yn mhâ rai y dysgant yn weithredol pa fodd i ysgythru ymaith holl "fân bethau" eu tymherau drwg, eu rhagfarn, a'u rhagdybiadau hwy eu hunain, y tyfant ac y cynnyddant yn yr hyn sydd dda ac yn werth ei gadw.

Mae amryw wedi myned i dywyllwch ac i wadu y gwirionedd, drwy esgeuluso rhai "mân bethau" eu golwg, heb ofal am ba rai y mae *link* yn doredig yn nghadwyn eu hiachawdwriaeth, sydd yn rhaid cael ei basio cyn yr ânt yn mhellach. Y mae rhai a ystyrir yn *Saint* da ... awn, eithr a arosant yma ac nid ant i Seion, am

iddynt ganiatâu i "fân bethau" y byd ddallu eu rhwyddy rhag yr hyn sydd anghenrheidiol er eu hiachawdwriaeth.

Y mae ereill efallai yn gwario yr ychydig feddiannau a u hymfudent pe eu hiawn ddefnyddid, mewn dim ond anturiaeth i gael rhyw olud sydd yn awr yn glöedig mewn cyfraith yn y cydwybodlys. Fe ddichon y dealla y cyfryw rai mai yn lle cael y golud tybiedig, na fuont ond yn unig yn porthi cribddeilwyr y gyfraith. Mae amryw o'r personau hyny a adawsant i ddim ond gobaith am elw bydol eu rhwystro rhag cadw y gorchymyn i ymgasglu, ac esgeuluso cyfleusderau rhesymol i wneuthur felly, yn gweddio am waredigaeth o ddrygioni a phläau Babilon, ac yn appelio atom ni yn y modd taeraf am gael eu hymfudo gan y Drysorfa Ymfudol Barhaus. Fe ddichon i'r fath bersonau gyrhaedd iachawdwriaeth mewn rhan, eithr nid yn drwyadl, oddieithr iddynt ei gwerthfawrogi yn fwy. Yr hyn a gollir felly trwy ddifaterwch ni adennillir byth.

Y mae pwnc a berthyna i fater arian, at yr hwn y dymunem alw sylw y Saint, ac ar ba un y dymunem i Fugeiliaid a Llywyddion Cynnadleddau sylwi yn neillduol. Y mae amryw gannoedd o bunnau o arian yn meddiant y Saint yn yr Ynysoedd Prydeinig, naill ai yn glöedig mewn cistiau neu *Savings Banks* yn gorwedd yn segur, neu yn agos felly, hyd oni cheir digon i ymfudo. Y mae yn eithaf iawn a chanmoladwy i'r Saint sefyll modd i ymfudo, ond yn gymmaint ag y dysgwylia yr Arglwydd i'w bobl i wneyd y defnydd goreu a ellir a'r hyn a osodo Efe yn eu dwylaw, awgrymwn at ffordd trwy ba un y gellir defnyddio yr arian hyn er cyflawni daioni mawr, heb nemawr golled i'w mheddiannydd. Dysgwylir i £15 ymfudo person i Utah y tymmor hwn. Yn awr os oes 300 o Saint yn Mhrydain a allant osod ar gyfartalwch £5 yr un yn y Swyddfa hon, aiff cant o bersonau i'r Dyffrynoedd y tymmor hwn, a gaffant aros yma heb heb hyny. Yn y ffordd hon gellir rhoddi y "mân bethau" a orweddant yn bresennol yn segur yn mhlith y Saint i gyflawni daioni anghyfrifiadwy, a byddent yn barod bob amser at alwiadau y personau a'u gosodant yma.

A ymafla y Bugeiliaid, y Llywyddion, a'r Saint, prif ymgais pa rai yw adeiladu teyrnas Duw, yn y mater hwn, gan edrych beth a ellir wneyd yn awr, pan y mae y fath ymdrechiadau mawr yn cael eu gwneyd i gasglu y rhai ffyddlon?

Y mae amryw Saint a broffesant y dymunent wneyd yn iawn, eithr a ymarferant â rhoddi lle i lid, a bod yn anghyfiawn i'r byd ac i'w brodyr, ac yn lle llywodraethu eu teuluoedd mewn cariad a chyfiawnder, byddant yn groes a chynhenus, a thrwy hyny gyrant ysbryd heddwch o'u preswylfanau, a meithrinant ysbryd gwrthryfelgar yn y wraig a'r plant, gan ba rai y dyoddefant eu hunain yn aml i gael eu llywodraethu mewn materion a dyled swyddau. Y mae lleng o ddrygau y rhai a ymddangosant yn ddibwys ynddynt eu hunain o herwydd nad oes iddynt unrhyw ganlyniadau mawrion i'w gweled yn fuan, ond dyma y "mân bethau" a gynnwysant ochrau gweiniaid y Saint, y rhai yr ymafla y diafol ynddynt i gloddio tan sylfaen eu hiachawdwriaeth. Nid diogel yw amddiffynfäau cyhyd ag y bo un drws trwy yr hwn y dichon i elyn ddyfod i mewn; nid yw iachawdwriaeth unrhyw ddyn yn sicr hyd oni dynir pob dernyn o ddrwg a lyna wrtho, neu hyd oni wyrdroir ef i'w rinwedd cyferbyniol, ac y gwneir pob peth o'i amgylch yn wasanaethgar i ddybenion goruchel a santaidd.

Nid oes achos i neb ddysgwyl achubiaeth drwy gyfiawnder ereill, neu lusgo i mewn i'r deyrnas nefol a holl ddrygau eu natur lygredig yn lynedig wrthynt; canys pe elent yno, caffent eu hunain oddicartref, a dymunent ddychwelyd i elfen mwy cydryw-iol a'u tueddfryd isel a gwael. Na ddysgwylied neb y gofyna yr Arglwydd i ereill wneyd gwaith yr iachawdwriaeth drostynt, oddi eithr iddynt foddloni gwneuthur cymmaint a mwy i gael bywyd tragywyddol, ag y boddlona miloedd o'r byd ddyoddef er cael aur, enwogrwydd gwladwriaethol, neu ogoniant milwraidd.

*Cyf.* Wm. Lewis.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MAWRTH 31, 1855.

At Bregethwyr yr Efengyl.—Anwyl gyd lafurwyr, nid pregethwyr y sectau, ond pregethwyr *efengyl* Crist; nid dadleuwyr dros draddodiadau dynol, ond traethwyr cynghor Duw-

ac nid "*esbonwyr*" yr ysgrythyrau a gyfarchwn yn y teitl anwylaidd hwn, ond gwesion y Duw a ysbrydolodd eu brodyr cyntefig i *wneuthur* yr ysgrythyrau; nid rhai a aethant allan i ddysgu crefft bregethwraidd yn ol eu mympwyau, nac a ddanfonwyd gan ddynion, ond cenadon ydych chwi a alwyd gan Dduw a gynnysgaethwyd â chyfran o Offeiriadaeth ei Fab, ac a ddanfonwyd i bregethu yr hyn a wyddoch yn ddiau—yr hyn a *brofodd Duw i chwi yn eiriau y bywyd.* Mae hyn yn ffaith wybodus i chwi o anghenrhaid. O, na fyddai mor *gofus* ag yw *wybodus* i chwi hefyd yr ammodau yr ymrwymasoch ynddynt i Dduw pan dderbyniasoch, drwy ordinhad ddwyfol, insel y cyfammod mawreddog hwnw allweddau bywyd tragywyddol, a'r hyn a gynnwys ddedwyddwch eich cyd ddynion! Yn wyliedyddion dros Dduw ein gosodwyd ar y muriau—rhagddangoswyd i ni drwy ysbrydoliaeth ddynesiad " y dyddiau blin" hyn; am flynyddau galwasom olygon y wlad at y cymylau dudew a beichiogaidd o ddigofaint a dywyllant awyrgylch y ddaear, yn hir ac yn uchel bloeddiodd rhai o honom fod y cleddyf, yr haint, y newyn, a'r pläau wrth y drws, ac er fod gwargaledwch ac anystyriaeth dynion o'r rhybuddion yn tueddu i ddigalondid, etto mae y ffaith o arddeliad Duw o'n cenadwri er achubiaeth miloedd eisoes. ynghyd â chyflawniad ein haddewidion a'n bygythion yn gynifer o ffeithiau dwyfol a ddylent ein symbylu ni yn y blaen i gyhoeddi ein cenadwri gydag uwch llef, gwrolach calon, a bywiocach ysbryd yn gyferbyniol i'w dynesiad atom.

Ffeithiau hunan-eglur i'r rhai a oleuwyd gan Ysbryd y gwirionedd yw cyflyrau rhanedig, traddodiadol, gau-grefyddol ac annuwiol y "byd crefyddol" presennol; ein bod ni yn feddiannol ar yr unig wir grefydd a ddwg waredigaeth dymmorol a thragywyddol i'w hufyddion sydd hefyd yn ffaith rhy eglur i fod eisieu ei phrofi i chwi. a'r ffaith fawr gyssylltiadol â hyny yw ein *cyfrifoldeb* ni am y defnydd a wnawn o'r oruchwyliaeth a ymddiriedwyd i ni! Mor sicr a bod ufydd-dod cywir iddi yn sicrhau bywyd annherfynol, mae cyfrifoldeb yr hwn a'i hesgeulusa a'r sawl a'i hanufyddha o gyd-bwys ag yw marwolaeth dragywyddol yr enaid. Myna cyfiawnder ei hiawn cydbwysig a'r gwrthddrych o rywle cyfrifol, canys "ni ddychwel fy nghleddyf yn wag;" felly ei air, nid efydd yn tincian yw o

hyd, na'i Offeiriadaeth a roes i'w weision, ni ddichon fod amgen nag arogl bywyd i fywyd, neu o farwolaeth i farwolaeth i'r sawl a'i caffo. Pwy, tra yn syllu yn y drych cywir a ffurfia yr ystyriaethau sobr hyn a all dan wenu yn ngwyneb ei Dad ddweyd, "Yr hyn oll a allais mi a'i gwnaethym?" Pwy wedi deall hyn a ddichon esgeuluso unrhyw gyfleusdra i "achub pentewyn o'r gyneu dân?"

Frodyr, ymddiriedwyd gwaith mawr a phwysig i ni, dim llai na rhybuddio yn onest, yn sobr, ac yn eglur holl drigolion Cymru o'u perygl, a chynnyg iddynt yr unig waredigaeth; y mae hyn genym i'w wneuthur gorchymyna Duw i ni wneuthur hyn, a gwae ni oni wnawn. Nid yw wahaniaeth i ni pa sawl mil o au-athrawon a floeddiant i'n herbyn—o ddynol aufonedigion a rybuddiant y werin i "beidio ein gwrando," na chwaith pa faint yw cam gyhuddiadau gau-offeiriaid y fall i'n herbyn; gadawn rhwng yr oll a'r Duw a'n danfonodd; *rhaid* yw i ni gyhoeddi ein cenadwri, a hyny yn ffyddlon, yn ddidderbyn wyneb, a chyda phrysurdeb; nid oes i ni ddewis amgen am ein bywyd. Barnwch chwi ai digaloni o flaen gwg, gwawd, a llysnafedd y byd, ynte wynebu y ffrwd lifeiriol pe deuai ganwaith gwaeth, yw y goreu i ni ac i bawb! O'n rhan ni ein penderfyniad diysgog yw, er y—

> Geilw'r byd ar dde ac aswy
> 'Mod i 'n ynfyd, 'mod i 'n ffol;
> Geilw pechod arna'i sefyll,
> Geilw uffern arna'i 'nol;
> Geilw'r gelyn am ei athrod—
> Galwed ef, ac am ei dân!
> Tra bo Brenin nef yn galw,
> Rhaid i Sant yw myn'd yn mla'n.

Arweinia yr unig ddrws cefn i ddystryw, tra yn mlaen mae'r Brenin yn ein galw i fuddygoliaeth; er fod byd, cnawd, a diafol i'n herbyn, etto mae mwy o'n plaid, a'r gamp uchel o'n blaen ar ben yr yrfa.

Dywedasom mai gwyliedyddion ydym yn y gongl fach hon o winllan ein Mheistr, a gwaith gwyliedyddion genym i'w wneuthur; bernir fod i ni tua miliwn a hanner i'w rhybuddio, ac y mae yn agos i fil o henuriaid ac offeiriaid Duw yn awr ar

y maes i wneuthur hyny—yr ydys wedi cael amryw flynyddau o amser at y gwaith, ac erbyn hyn o'r oll, a wnaed beth yw yr effaith? Gofidus yw dweyd fod ugeiniau o drefydd ac ardaloedd poblogaidd, a rhai siroedd braidd yn gyfain heb gymmaint ag un o bregethwyr anfonedig Duw i gynnyg iddynt air y bywyd, tra y mae mewn rhai ardaloedd ereill gannoedd o henuriaid galluog yn sathru ar sodlau eu gilydd braidd, neu o leiaf a allent fod yn sŵn lleisiau eu gilydd o gŵr i gŵr i gwm! Chwi frodyr! ai fel hyn y dylech fod? A ydych yn sicr mai yna y dewisa Duw i chwi aros, a pha hyd? Onid doeth fyddai i chwi ystyried y pwysigrwydd o'r Offeiriadaeth a'r gwaith sydd genych? Nid digonol esgusion ar ddydd yr arholiad manwl fydd dweyd "y *wraig* a'm rhwystrodd, y gwaith enillfawr, y perthynasau," na dim arall. O na, ni wnaiff esgus y tro; os na ellir myned ni ofyn Duw hyny; os yw Efe yn gofyn ni ellir cael esgus a ryddhâ oddiwrth y canlyniad o beidio myned; gwerth gwaed megys, ïe, gwerth eneidiau gwerthfawrocach na'r byd a'i berlau fydd y pennyd. Mynych y cynnygir teulu, tylwyth, dyledion, a rhi res o esgusion ereill rhag ufyddhau i Dduw; a droiai hyny angau yn ol? A ddywedai Duw mai digon yw? Pwy sydd heb wybod am deuluoedd, gwaith, cyfoeth, a phob rhwystr yn cymmeryd eu hadenydd ymaith o ffordd y rhai a geisiant ymguddio fel Jona yn eu cysgod rhag cyflawni cenadiaeth Duw?

Yn enw a thros ein Brenin, galwn, ïe, gwaeddwn yn uwch nag erioed drwy UDGORN rhyfel am *wirfoddoliaid* i enlistio dan faniar yr Iesu—deuwch yn *awr*—deuwch yn wrol a phenderfynol—deuwch drwy neu dros bob rhwystra—"Ceisiwch yn *gyntaf*" sefydlu teyrnas Dduw, nid yn *ail* beth, nac fel peth o gyfleusdra pan na fydd arall beth i'w wneyd; nage, eithr ffydd rymus a feddoch i gydio yn addewidion sicr eich Tad am gynnaliaeth,—mae mor hawdd iddo ddiwallu ei fyddin o *wirfoddoliaid* ag yw iddo ddiwallu y brain ac adar y tô, ac y mae yn fwy sicr o wneyd hyny i bob milwr glew. Eithr y mae cymhorth brodyr hefyd i gael; ceir traethodau, a cheir ffydd a gweddiau holl garwyr y gwir, a cheir gwedd gwyneb y nef, yr hyn yw y mwyaf oll.

Mae genym newydd da i'r sawl na feddant gymmaint o ffydd ag sydd gan yr aderyn tô, a'u gesyd oll yn ddiesgus, yr hyn

yw—mae gwahoddiad taer am 20 o lôwyr y dehen i fyned i Sir Fon; dywed yr Henuriad William Lewis, yn barodol yno, y bydd digon o waith i gynnifer i ddechreu yn mis Ebrill, a gwell cyflogau nag a enilla glôwyr yn Merthyr. Dyna alwad ffafriol! Pwy a'i hateba? O fewn 4 neu 5 milltir i dref fawr Caernarfon, ac wedi ei hamgylchynu â threfydd mawrion ereill, rai heb Sant o'u mhewn.—Henuriaid ac Offeiriaid! Pwy a â? Pwy a â yn fuan? Erbyn dechreu mis Ebrill yr oedd dymuniad y meistr i'w cael, neu mor agos i hyny ag y gellir. Yr ydym wedi deisyf ar Lywyddion Cynnadleddau i chwilio am, ac i wneyd yr oll a allant i gael gan ddynion cyfaddas i'r alwad—dynion a wasanaethant Dduw a dynion yn onest a ffyddlon i fyned i Sir Fôn; eithr hyd yn hyn nid ydym wedi cael enwau yn ychwanegol at y rhai a enwyd yn flaenorol, sef y brodyr Lewis a Vaughan o'r Cwmbach. Beth yw'r achos? Nid diffyg ewyllys gobeithiwn yn y naill i geisio nag yn y llall i fyned. O na, tebycach mai byrdra y rhybudd; eithr dysgwyliwn gyda dyddordeb mawr am enwau yn ddyddiol i fyddin Brenin yr holl ddaear.

Gwnaethom ein goreu y llynedd i gael gan y rhai a allasent fyned i gredu mai drwy Sir Arfon a Môn yw eu ffordd fwyaf uniongyrchol i Seion, nid ydym wedi cyfnewid ein ffydd un iot eleni, eithr argoela y galwad hwn gynnydd ein ffydd, ac awgryma fod ein Duw yn cofio am ynys hardd Môn. Ei efengyl o eneuau ei weision eleni a adleisio o lech-greigiau Arfon y miwsig pereiddiaf yn nghlustiau trigolion Môn yw ein taer—ein taeraf weddi yn awr ar ein brodyr hyny a allant fyned a gwneuthur hyny. Ysbryd efengyl Crist a'u hyso nes yr elont o gariad at eneidiau dynion.

---

YR YMFUDWYR.—Cyrhaeddodd y llong "Clara Wheeler" yr hon a gludodd y cwmni diweddaf o Saint a aethant o Gymru, yn New Orleans ar Ion. 11eg, wedi mordaith ffortunus yn yr ysbaid anhygoel o 36 o ddyddiau; bu farw amryw blant o'r frech goch, yr hyn a rybuddia y Saint i fod yn ofalus na chychwynont yn y llong gydag unrhyw afiechyd peryglus, a dylai Llywyddion alw sylw at hyn cyn y cychwyno eu Saint oddicartref. Cyrhaeddodd y Cymry yn St Louis, Ion. 22ain, yn iach a chysurus, lle y derbyniasant garedigrwydd mawr gan

y Llywydd Snow a'r Saint yno; y rhai a'u derbyniasant i'w tai a'u hymgeledd, ac a wnaethant yr hyn a allent er eu cysuro a'u diwallu.

---

Yr Ymfudiad Dyfodol.—O herwydd prinder llongau yn mhrif borthladd y byd i gludo y Saint, gorfuwyd amryw gannoedd i oedi myned eleni am rai wythnosau yn ddiweddarach nag y dymunasent hwylio, etto efelycher y plentyn ymddiriedol yr hwn ni ofnai i'r llong suddo o herwydd "fod ei dad wrth y llyw." Amynedd yn hyn hefyd sydd o fawr werth.

Deallwn fod y Llywydd Richards wedi sicrhau pob llong a allai gael i fyned i Philadelphia; bwriada un hwylio y dydd olaf o'r mis hwn, ac un arall tua y 12fed o Ebrill, ar fwrdd yr hon y bwriedir i'r Saint Cymreig hwylio hyd a ddeallir yn awr, eithr ceir hysbysiad mwy personol i bob ymfudwr cyn y dylai gychwyn o'i gartref. Awgrymiad i barotoi yw hyn yn awr erbyn hyny.

O barthed i'r ffordd oreu i fyned i Liverpool nid ydym yn bwriadu ymyraeth llawer y tro hwn; etto i'r sawl a ystyria ein cynghor ar y mater yn werth ei gael, ni phetruswn ddweyd fod agerfad o Abertawy yn llawer rhatach i'r rhai ydynt eisoes yn y cylchoedd hyny, os nad i'r rhai ydynt mor belled â Merthyr hefyd, yn enwedigol os bydd llawer o bwysau o nwyfau. Mae y tywydd a geir yn gyffredin yn mis Ebrill yn ddeniadol i fordaith er cynnilo. Ni wyddom yn awr pa amser yr hwylia yr agerfad oddiyma o flaen yr amser penodol i hwylio o Liverpool, ond gall pob un gael hyny allan yn brydlon drwy ymholi â'r newyddiaduron, &c., a barnu yn ol hyny. Tebygol mai hawddach i'r ymfudwyr o Sir Fynwy fyned i Abergaveny, a thrwy Gaerlleon i Liverpool.

---

At Lywyddion Cynnadleddau.—Crefwn sylw ein brodyr Llywyddol at ddynesiad diwedd y Chwarter, a'u dyledswyddau ar y pryd hyny. Erfynir y cyfraniadau at y D. Y. Barhaus, a'r anrhegion at adeiladu y Deml, i mewn yn brydlon fel arferol o bob man; ac na chadwed yr olaf ni i oedi y lleill oll rhy ddiweddar wrth ei aros ef.

Hefyd, galwn sylw at y Dospartlwyr a'u cyfrifon, a dylai pob Llywydd weled fod yr *all right* ar bob peth yno, a bod yr

arian yn treiglo yn amlach yma ac i Liverpool, onide ofnwn y cywilyddia rhai yn nydd y cyfrif pan welo pawb y fath gynnydd sydd yn eu dyled yn y chwarter mynedol. Ymdrechiadau bychain presennol a dalant fwy am lyfrau nag addewion mawrion am yr amser na ddaw tan ar ol y fory!

---

## RHWYMO LLYFRAU.

Mr. Golygydd,--Byddwch mor garedig a chaniatâu i mi hysbysu eich darllenwyr fy mod yn rhwymo llyfrau, ac i ddeisyf ar fy *mrodyr* yn enwedigol, fy nghefnogi drwy anfon eu llyfrau i mi, neu ganiatâu i mi eu hymofyn. Galluoga fy nhrefniadau presennol yn y fasnach i mi wneuthur unrhyw rwymiad a ewyllysir cystal os nad gwell a chyn rhated ag y gwna neb arall hwynt. Talaf eu cludiad o unrhyw fan drwy y Cynnadleddau deheuol, ac hyderaf y dyry fy mrodyr gyfle i'm *gwaith* fy nghanmol.

Eich gostyngedig frawd,

D. Davies.

D.S.—Cyfarwydder hwynt i *David Davies, Bookbinder*, 12, *Carmarthen Buildings, High Street, Swansea.*

---

[Gyda pharodrwydd y cyd-syniwn â chais ein hanwyl frawd, ac hyderwn ein bod wrth hysbysu ein darllenwyr o'r cyfle hwn yn llesoli y ddwyblaid; teilynga y Brawd Davies gefnogaeth y Saint, ac hyderwn mai nodwedd y rhai sydd am lesoli pawb fydd cofio "yn enwedig y rhai sydd o *deulu y ffydd*;" a chan ei fod yntau yn cyssegru yr oll a all o'i amser i bregethu yr efengyl heb na "chod nac ysgreppan," caiff ei gefnogwyr ef yn unig ar a wyddom yn y grefft hon, y pleser a chyfran o'r wobr a deilynga adeiladwyr teyrnas Dduw, yn hytrach na helpu ereill i adeiladu Babilon. Profed "plant y deyrnas" eu hunain mor ddoeth yn eu cenedlaeth ag yw plant y byd o leiaf, canys felly y mae yn gweddu, a gweled hyn yn cael ei wneuthur fyddai yn bleser nid bychain i'ch—Gol.]

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y RHYFEL.—Nid oes genym newyddion o bwys neillduol i'w cyhoeddi o faes y rhyfel hyd y 3ydd o'r mis hwn; dyoddefai y milwyr yn dost o herwydd oerfel adnewyddol y tymmor; cyrhaeddasai y gledrffordd hyd yr eglwys gyntaf yn Sebastopol; cynnygiasai cwmni yn Llundain ymrwymo i'r Llywodraeth y porthent yr holl fyddin â thri phryd o ymborth twymn a da, bara newydd yn ddyddiol, tê neu goffi foreu a hwyr eu gwala yn y gwersylloedd, am 3s 3c yr un y dydd, ond gwrthodwyd eu cyflogi i hyny. Dengys y Rwsiaid ystyfnigrwydd rhyfeddol i orchfygu Eupatoria lle mae gan y Twrciaid 50,000; gwelir cynnorthwyadau o filwyr a nwyfau rhyfel yn dylifo i Sebastopol o'r ochr ogleddol yn barhaus, a dywedir fod y dref yn dair gwaith cadarnach yn awr nag y bu oll. Arddengys yr Amherawdwr Alexander II. olynydd Nicholas o Rwsia, benderfyniad cryf i ddilyn ôl traed ei dad, a gwneir pob ymdrechiadau i gario y rhyfel yn y blaen.

---

AMSERYDDIAD CYMMANFAOEDD Y DEHEU.—Cynnelir Cymmanfa Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, Ebrill 1af; Brycheiniog, Ebrill 8fed; Mynwy, Ebrill 15fed; Gorllewin Morganwg, Ebrill 22ain; Llanelli, Ebrill 29ain; Caerfyrddin, Mai 6fed; Aberteifi, Mai 13eg; Gogleddol Penfro, Mai 20fed; Deheuol Penfro, Mai 17ain.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MAWRTH 10 HYD Y 23.—Sylwed y Llywyddion! craffed y rhai a ddylent edrych at hyn! eithr na ddywedwch i'r byd mai 15s gan Griffith Roberts yw yr oll a ddaeth i'n dwylaw mewn pythefnos!! Rhaid fod baw yn y cosyn—mae drwg mewn mwy nag un man, chwilier ef allan a diwygier *if you please.*

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

Rhif. 8.] EBRILL 14, 1855. [Cyf. VIII.

## ERLIDIGAETH "GREFYDDOL" A'I EFFEITHIAU.

Ysbrydoliaeth y Goruchaf a ddywedodd, "A'r neb a ewyllysio fyw yn gyfiawn yn Nghrist Iesu a erlidir." Ni raid gofyn pwy a'i herlidia, canys ni cheir ond dwy blaid, sef cyfiawn *yn* Nghrist ac anghyfiawn *allan* o Grist. Beth a ddeallwn wrth fod *yn* neu *allan* o Grist? Atebed Paul, "Canys cynnifer o honoch ag a fedyddiwyd yng Nghrist a wisgasoch Grist." Nid cynnifer a daenellwyd—yr arllwyswyd dwfr arnynt, nac a drochwyd, hyd y nod, a ddywedir, eithr a *fedyddiwyd*; canys dichon trochi dyn ganwaith heb ei fedyddio unwaith, ac wrth hysbysu yr achos o hyny dynoethwn golyn a gwreiddyn erlidigaeth yn mhob oes, a hon hefyd; sef, yw y rhaid fod, nid yn unig y cymhwysderau gofynol yn y deiliaid, ond fod *hawl ddwyfol* gan y gweinyddwr i weinyddu cyn y dichon fod ei weinyddiad yn *fedydd*. Er mor eglur y dylai hyn fod i reswm pob dyn, etto meddwn, proffes gweision Duw o'u *dwyfol* ddanfoniad a'u *dwyfol* hawliad i weinyddu ordinhadau eglwys Dduw sydd yn cyffroi cynddaredd, ac yn enyn digofaint pregethwyr gau grefyddau; a chan na allant wrthbrofi y dystiolaeth,—gan y gwelant fod anrhydedd eu ffurfiau, a gogoniant eu "Diana fawr" yn cael eu peryglu, ymladdant bob ffordd a allant yn erbyn y gwirionedd; a chan nad gwiw gosod gwirionedd i ddystrywio gwirionedd, nid oes ganddynt arfau amgen celwyddau i gynnyg yn erbyn crefydd a fedda allu Duw ac sydd

yn addaw "sicrwydd mawr yn yr Ysbryd Glân." Felly y gwnelai gau-grefyddwyr mwyaf selog yn amser ymgnawdoliad ein Hiesu addfwyn, ac yn eu canol pan y gofidiai ei apostolion o herwydd y cam-gyhuddiadau gwarthus a ddywedid yn eu herbyn; ac braidd na ddigient wrth eu Hathraw Mawr am na amddiffynasai ei gymmeriad rhag y fath enwau cywilyddus, a'i fod yn "ddyn glwth ac yfwr gwin, cyfaill publicanod a phechaduriaid." Syndod pa fodd y goddefai iddynt ddweyd mai bastard ydoedd o enedigaeth? Eithr pa fodd y gwrthbrofasai efe y cyhuddiad i'r rhai na chredent ynddo? Ni allasai eu gorfodi i'w gredu mai Mab Duw oedd. Tebyg mai o dan rhyw deimladau fel hyn y codai ei ben i'r làn, ac y cysurai ei ddysgyblion gofidus drwy eu hannog i fod yn amyneddgar, gan ddysgwyl diwedd eu ffydd, achubiaeth eu heneidiau, ac y caffent gyfiawnder pan "eisteddent ar orsedd-feingciau yn barnu deuddeg llwyth Israel." Duw y byd hwn sydd yn cael y "gwynfyd" *yn awr*, eithr cyflawnir geiriau eu Brenin i'r Saint yn eu pryd, wedi cael profiad o'u ffydd, yr hwn sydd werthfawrocach nâ'r aur colladwy; "Gwyn eich byd chwi," ebe Efe, "pan y dywedant *bob* drygair yn eich erbyn er mwyn fy enw i a'r efengyl a hwy yn gelwyddog."

Nid yw y *gwyn fyd* yn addawedig nes bo y rhestr o ddrwg enwau yn llawn—"pob drygair;" o'n rhan ni, rhaid cyfaddef fod ein camgyhuddwyr wedi profi eisoes drwy yr holl enwau a gawsom rhyw ymenyddion go ddyfeisgar; dysgwyliasom er ys tro bellach fod y cyhuddiad olaf yn ei dro y gwaethaf a'r diweddaf a allent gofio, ddyfeisio, na breuddwydio am dano. Eithr fel y breuddwydir pethau hynod blith draphlith y dygir i esgoreddfa erlidwyr y Saint bob amrywiaeth o anghenfilod amryw bennog, ac anghymmalog, yn *gosmopolites*, ac yn *hermapheedetes*, a'r sawl na ddiflaswyd eisoes ar lysnafedd ac anwireddau, eithr a ddewiso glywed chwaneg o gam-gyhuddiadau nac a feddyliodd erioed am danynt, caiff hwynt gan ein herlidiwr yn y dref hon yn awr. Mae genym sail gref i gredu fod dydd ein "gwynfyd" yn cael ei agoshâu gan y dyn hwn; bid siwr na ddywed efe y "pob drygair" cyn y tawa; mae ei elyniaeth yn ormod i adael i ddim niweidiol aros ar ol yn ei galon debygid. Wel yn mlaen a hi dyweder, cyhoedder a thraflyncer a fyner, cawn ninnau y fraint o ddyoddef tipyn o ryw beth

tebyg i'r hyn a oddefodd ein Harglwydd lawr; ymgysurwn yn y wybodaeth o hyn, y dystrywia pob gelyn ei hunan a ymladda yn erbyn "Mormoniaeth," ac y llwydda hi po fwyaf ei chamgyhuddir ac yr erlidir hi; canys y mae Duw ynddi.

"O na," medd ein herlidwyr, "nid am eich crefydd yr ydych chwi yn dyoddef, ond o herwydd eich twyll a'ch drygioni." Ië, siwr, dyna oedd esgus pob erlidwyr; nid am eu cyfiawnder na'u gwirionedd yr erlidiwyd Crist, ei apostolion, na neb o'r Saint, nage, ond am fod y byd drwy eu safon gau-grefyddol a chyfeiliornus yn barnu y tywyllwch yn oleuni a'r goleuni yn dywyllwch, y *gau* bregethwyr yn *wir* weision Duw, a gwir weision Duw yn ddynion cyfeiliornus, drwg, aflan, a pheryglus, ac am hyny—o herwydd y tybid eu bod hwy *felly* eu herlidiwyd, ac nid am un daioni sydd ynddynt, bid siwr. Pwy a all gofio na dyfeisio un cyhuddiad a ddygir yn erbyn y Saint yn awr ar na ddywed y Beibl fod y cyffelyb yn cael ei ddweyd yn erbyn cymmeriad ac athrawiaethau gweision Duw yn y cynoesoedd? Paham y tebygolrwydd hwn, ynte? Paham na chaffai rhyw enwad neu blaid y teitlau hyny heblaw y Saint? Paham unoliaeth yr oll ereill yn awr yn erbyn y Saint megys yr ymunai yr ysgrifenyddion, Phariseaid, a holl sectau yr oes hono yn erbyn yr apostolion, pwy a ddywed? A phaham y cyfloga y rhai hyny a broffesant fod yn weision Duw, y rhai ydynt weision proffesedig y diafol, megys meddwon, cablwyr, puteinwyr, gwrthgilwyr, a rhai na wnant broffes o un math o grefydd i'w cynnorthwyo i ymladd yn erbyn y Saint? Rhyw fyddin afrosgo, amryw-liw a chwaeth a geir yn y *Crusade* hwn, onide! Mwy afresymol gweled y Parch cadach gwyn a'r gwyneb hir yn crechwenu yn wawdus tu cefn, ac o gymmeradwyaeth i *flaggard* mewn pwlpud, a gyflogwyd i regu y Saint fel y cyflogwyd Balac gynt i regu Israel, Demetrius y gof arian, neu Alexander y gof copr, ïe, fel y cyflogwyd Judas am ddeg ar hugain arian i fradychu ei Feistr diniwed, nac a fyddai gweled ein milwyr yn ymladd yn ochr estroniaid a gyflogwyd yn ol y "*Foreign enlistment Bill;*" ac mor awyddus yr edrycha y rhai hyn am i'w Judas fradychu gwendidau a dwbio cymmeriadau y Saint ag y dysgwyliau y Zealots hyny am i Judas gyflwyno yr Iesu i'w dwylaw—"adar o'r un lliw ehedant i'r un lle," ebe yr hen ddiareb.

"Os celwyddau a ddywedant arnoch, paham nad ewch i'w gwyneb i'w gwrthbrofi?" medd ambell un; a digon tebyg y gofynid yr un peth i bob gwas i Dduw a ddifenwyd yn ei ddydd, etto nid oes hanes yr ymddadleuent nac yr ymgyndynent hwy â phob goganwyr, difenwyr, na checcrwyr a geisient ganddynt, eithr yn hollol groes y gwnelent hwy ac y dysgent eu gilydd i wneuthur. "Cyndyn ddadleu dynion llygredig eu meddwl, heb fod y gwirionedd ganddynt; cilia oddiwrth y cyfryw," ebe Paul. Pa les dadleu am grefydd â'r hwn na phroffesa feddu crefydd ei hun? Ni all efe gyfarwyddo arall at grefydd pe yr amddifadai ef o'r hyn sydd ganddo. Mae genym ni genadwri oddiwrth ein Meistr i'w thraddodi i'r sawl a ddewiso ei chlywed, ac nid i'w gorfodi ar y sawl na ddewiso ei chlywed. Ein dyledswydd ni yw gwaeddi ffydd, edifeirwch, a bedydd er maddeuant pechodau, a dawn yr Ysbryd Glân drwy arddodiad dwylaw, &c., ein Duw a ofala am y canlyniadau, a sicr ydym y bydd y dystiolaeth hon yn "arogl bywyd i fywyd, neu o farwolaeth i farwolaeth" i bawb a'i gwrthoda, pe gwawdiai neu y ffyrnigai holl Beirch a Gols. y wlad; nid yw eu "pw pw," na'u "hach," na'u holl yn un gwrthbrawf o'r ffaith uchod. Hi a saif —hi a waedda yn uwch, a'i hadleisiadau yn ngorseddau barn a wna i'w diystyrwyr waeddi ar y mynyddau i'w cuddio o wyddfod y rhai a'i tystiant.

Ceir chwaneg o'n rhesymau dros beidio ymddarostwng i ymgecru â'r dyn halogedig yn ein *hamddiffyniad* rhag y baeddiad, a phleser genym hysbysu ein bod ni yn gwneuthur yn ol cynghor ein prif Lywydd ar y matter, ac mai yn gyffelyb i fel y gwnawn ni ag ef y gwnaeth ein holl Frodyr ag ef yn y manau ereill y bu, a'n crêd ddiysgog yw ei fod er o'i anfodd yn gwneuthur llawer o ddynion gonest yn Saint. Clywsom mai dyna oedd canlyniad ei ddarlithiau mewn manau ereill, eithr gwyddom mai y canlyniad o'i ddarlithio yma hyd yn hyn ydyw agoryd llygaid y rhai gonest i chwilio i'n crefydd; dywedwyd wrthym bob dydd am rai a fuasai yn ei ddarlithiau nes diflasu arno, a chredu fod gwir grefydd gan y Saint cyn byth y gwelsid Peirch a gwyr lleyg yn cefnogi y fath gymmeriad i gamgyhuddo crefydd eu cymmydogion diniwed. Mae pob peth, a hyn hefyd, yn cyd-weithio er daioni i bobl ac achos Duw, canys pe.—

Deuai pawb mawr erfawr a'i arfaeth,
Yn chwerw, a churo "Mormoniaeth;"
Ceisio ein briw pa wiw pa waeth,
Nes delio â'n *tystiolaeth*?

"Oni ddylech chwi er mwyn eneidiau dynion ddyfod i amddiffyn os gallwch â gwirioneddau, rhag i bobl gael eu twyllo i gredu celwydd a bod yn golledig," medd rhywun. Atebwn mai yr hyn a ddylem ni wneuthur a wnawn, a'n rheswm dros hyny yw, nad ymofyn gwirionedd mae y rhai sydd yn myned i ddarlithio nac i wrando ar ddarlithiau yn ein herbyn ni na'n crefydd, onidê deuent i'n capeli ni yn lle i wrando ein cam-gyhuddwyr a'n gelynion proffesedig. Mae y ffaith o fod pawb a ddymunant iawn ddeall Bedyddiaeth yn myned i gapeli y Bedyddwyr—y sawl a ddymuno iawn ddeall beth yw gwir gredo "Trindodiaeth" yn myned i'w capeli hwy, a'r oll a fedda reswm yn myned yn hytrach i wrando *pleidwyr*, pregethwyr proffesedig pob sect nâ'u gwrthwynebwyr, yn profi mai ymofyn y *gwir* am y cyfryw y maent, ac mai *felly* yw y ffordd oreu i'w gael; ac mae y ffaith o'u mynediad ynghyd i wrando darlithiwr proffesedig yn erbyn "Mormoniaeth," fel ei galwant, yn profi mor gadarn o'r ochr arall mai celwyddau a cham-gyhuddiadau yn *unig*, ac nid y *gwir* o honi y maent yn ymofyn yn y fath le a chan y fath rai. A chan mai cam-ddarluniad o'n crefydd—gan mai celwyddau am danom a ddewisa y dynion hyny, a chan mai hyny a fynant er ein gwaethaf ni a phawb ereill, pwy na ddywed *Amen* gyda eu dewisiad, ac ewyllysio iddynt gael gwledd nes torri eu cylla ar yr hyn a garant mor fawr? Gwlad rydd yw hon mae yn wir, a phaham y rhwystrir undyn i lyncu cynnifer o gelwyddau ag a ddewisa? O, na, nid ydym ni mor awyddus am orfodi y gwir ar ddynion fel ag i'w yru i lawr eu gyddfau erbyn eu gwaethaf. Pe teimlem felly, teimlem yn groes i Dduw, canys dywedir y "denfyn Duw amryfusedd cadarn fel y credont gelwydd," a hyny fel eu damnier o herwydd gwrthod y gwirionedd a gynnygiasid iddynt cyn hyny, yn y cariad o hono. Y mae yn rhyfedd i rai fod Duw yn danfon amryfusedd fel y credont gelwydd; eithr mae cyfiawnder Duw y fath ag y gofyna brawf o gariad dyn at gelwydd yn hytrach nag at wirionedd cyn y damnia Efe ef, a thyna paham

y caniatâ Duw i'r diafol anfon ei genadon a'r fath anwireddau gwarthus i'w cynnyg i drigolion Abertawy yn awr ; cynnygiwyd y gwirionedd megys y mae yn yr Iesu iddynt yn *rhâd* am flynyddau, a hwy a heppiasant o tan sŵn yr hyfryd lais—ni fynent, oddieithr ychydig o honynt. mo y genadwri, o ganlyniad cyfiawn iddynt gael cynnyg ar yr ochr arall. A pha beth yw eu hymddygiadau, neu lawer o honynt, at ddyeithryn digymmeriad na phroffesa fod Duw wedi ei ddanfon, a thuag at ei gelwyddau? Wel, er syndod i reswm dynol, dyma yw,—gwell gan luoedd dalu eu harian i fyned i wrando ar, a llyncu yn felys yr hyn a ddywed gelyn proffesedig! Pwy a gŵyna iddynt? Pwy na ddywed *Amen* â'i holl galon ar ddedfryd y *carwr* celwydd wedi iddo wneyd ei oreu i gael ganddo gredu y gwir, a methu ? Na chaffer ni byth yn ceisio arddangos mwy o awydd i achub dynion nag a ddengys ein Duw; a chan ei fod Ef yn caniatâu i gelwyddwyr fel yr ysbryd celwyddog hwnw a anfonodd Efe, gan ddywedyd "Dos a thwylla Ahab, trwy fod yn ysbryd celwyddog yn ngeneuau ei brophwydi ef," pwy a'i beia nac a ddywed fod yn ddyledswydd ar was i Dduw fyned i'r fath le, nac i blith y fath bobl i geisio amddiffyn nac i gynnyg gwirionedd iddynt? Diolch i Dduw na ofynodd Efe y fath waith oddiar ein dwylaw—cyffelyb waith ag a fyddai myned i uffern ei hun i geisio cipio pentewyn o'r fflamiau heb losgi ei ddwylaw. Ni feia un dyn rhesymol ni am beidio gwneyd hyny, tra y gwrthodant y cyfle i ddyfod i'n gwrando yn Neuadd y Saint, Heol Orange, bob Sul, ac fynychaf bob nos drwy'r amser yn egluro ein daliadau.

O herwydd y dysgwyliwn mai dechreu cynhwrf yw hyn bach, ac y cawn well cyfle i amlygu tipyn o'r hyn bethau sydd ynom cyn hir, ni chwanegwn yn awr, nemawr, amgen na dweyd yn eofn, yn groew, a phen uchel; ïe, pe meddem glarion angel, bloeddiem nes y clywai holl bobl Abertawy, mai anwireddau yn grynswth, camgyhuddiadau anynol, a cham-ddarluniadau o honom, ynghyd a cham-ddyfyniadau o'n llyfrau a glywsant yn y darlithiau cyfeiriedig, ac yr ydym yn feddiannol ar *brawfiadau* o'r hyn a ddywedwn, a foddlona bob *carwr y gwir*, ufydd was yr hwn ewyllysiwn fod er ei les. Eithr am y llall, sef *carwr celwydd*—gyda'r clochydd gwaeddwn, "Gwared ni Arglwydd daionus;" a gwared yntau rhag cael ei ofidio â gwir-

ymedd, eithr pescer ef â'r bwyd a chwanta, fel mochyn i'r lladdfa, a boed ein cyfaill Mr. H—— (dyna! buom agos ag andwyo ein safn drwy ei enwi, eithr achubasom!) wel, caffed ef ei hoff waith oeddem am ddweyd, fel y cafodd yr afradlon hwnw gynt i gario *cibau i'r cafnau*, hyd oni ddaw i feddu dynoliaeth.

---

## CYMMANFA DYFFRYN CONWY.

*Bryn Dedwydd*, *Mawrth* 23, 1855.

Anwyl Lywydd Jones,—Syr,—Yr wyf yn anfon cofnodion y Gymmanfa uchod yr hon a gynnaliwyd yn yr Eglwys-fach ar y 18fed o Fawrth.

Wedi dechreu y cyfarfod boreuol, cafwyd annerchiad gan y Llywydd, yr hwn a ddwys annogodd y swyddogion a'r Saint i ystyried gwaith y dydd, ac i ddwyn eu calonau i ddoethineb, a chydnabod y gallu a'r godidawgrwydd o Dduw yn mhob rhan o'i waith heddyw ac yn barhaus; dangosodd mor gyflym y mae Duw yn dwyn oddiamgylch fwriadau ei galon, a geiriau ei Brophwydi yn yr oes hon,—fod yr oes a'r oruchwyliaeth hon yn rhagori yn fawr ar y rhai mynedol,—fod yr Arglwydd yn yr oes bresennol yn agor seliau ac yn dwyn allan drysorau a gwybodaethau ag oedd yn guddiedig er seiliad y byd,—fod bendithion Duw i'w blant, a'i ddialedd ar y byd annuwiol yn llefaru yn uchel fod Duw am ddyfod i ymogoneddu yn mhlith ei bobl, ac na ddaw fel "Duw dyeithr," ond yn hytrach yn ol y portread a roddwyd yn flaenorol; yna gallwn ddweyd, "Wele'r Duw y gobeithiasom ynddo," ac y bydd fel y dywedodd y Llywydd Young, "na wybydd yr annuwiol pan y bydd llywodraeth yr Arglwydd dros yr holl ddaear, eithr meddyliant mai grym ac effeithiau doethineb dynion fydd hyn oll," fel y dywedodd yr Iesu nad all neb adnabod y Tad ond y Mab, a'r hwn yr ewyllysiai y Mab ei ddadguddio iddo. Annogodd y Saint i fod yn effro, a chadw olew gyda hwy, o herwydd na wyddom pa mor fuan y daw yr alwad, fel y dywedodd y Llywydd Jones yn yr Udgorn, y daw gorchymyn i ni fyned adref ar frys, a thruan o'r cyfryw un fydd wedi gadael, heb wneuthur yr hyn a allasent ei wneuthur.

Cafwyd y cynnrychiolìad fel y canlyn:—Cang., 6; Hen., 23; Off., 5; Ath., 4; Dia., 4; ysgymunwyd, 1; a bedyddiwyd, 1. —Cyfanswm, 97.

Penderfynwyd dal i fyny yn ddieithriad holl awdurdodau yr Eglwys.

Penderfynwyd fod Wm. Lewis a Hugh Roberts i fod yn gynghorwyr i'r Llywydd R. Roberts yn y chwarter dyfodol.

Penderfynwyd parhau yn ddiwyd i gasglu at ddyled y Llyfrau, a chreda y Llywyddion y gwneir mwy o waith yn y tymmor dyfodol nag a wnaed yn yr un a aeth heibio.

Gan fod Wm. Davies, Ieu., ar ymadael, efe a dystiolaethodd am gymmeriad da y Llywydd R. Roberts, a'i fod fel y cyfryw yn deilwng o barch a gwrandawiad gan yr holl Saint.

Yn y prydnawn a'r hwyr cafwyd pregethau, cynghorion, ac addysgiadau rhagorol gan y Bugail J. Parry, y Llywydd Roberts, a chan Thomas Roberts, mewn perthynas i ddyledswyddau y Saint, adeiladaeth Seion, a chasgliad pobl yr Arglwydd o Babllon, &c.

R. Roberts, *Llywydd.*
W. Davies, *Ysgrifenydd.*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MAWRTH 14, 1855.

Yr Ymfudiad Eleni.—Hwyliodd dros ddau cant o Saint o Gymru allan o Liverpool ar fwrdd y llong "Chimberazo" ar y 12fed o'r mis hwn tua Philadelphia, gerllaw hanner pa rif a fwriadant gyrhaedd Tiriogaeth Utah eleni; eithr y lleill a fwriadant aros yn y Taleithiau i'r dyben o ymgyfoethogi gogyfer â'r gweddill o'r daith mor fuan y gallant. Yn mhlith ereill o'n cyfeillion mynwesol a'n hanwyl frodyr a'n gadawsant, mae ein Cynghorydd Thomas Jeremy, ar ol cenadwriaeth o dros ddwy flynedd yn y wlad hon, yn dychwelyd i Seion. Mae yr Henuriad David Rees, Llywydd Cynnadledd Penfro egledd-

ol gynt hefyd yn mhlith y nifer ffortunus a adawsant wlad y cystudd mawr; awelon y nef a'u chwytho yn ddiangol dros y Werydd mawr, a'r Duw a wasanaethant a'u diogelo rhag y peryglon a'u hamgylchynant ar eu taith.

Un achos o fod yr ymfudiad mor ddiweddar eleni yw o herwydd nad ellid cael digon o longau yn Liverpool, er yr ystyrir ef y porthladd mwyaf yn y byd, i gludo y Saint yn gynt; er's ychydig o wythnosau yn ol yr oedd gan y Llywydd Richards enwau tua dwy fil o ymgeiswyr am ymfudo yn chwaneg nag a lanwai yr holl longau ag oedd i mewn y pryd hyny i hwylio tua Philadelphia. Ai at ymfudiad y Mormoniaid yr edrychai y Prophwyd gynt, pan y gofynodd mewn syndod, "Pwy yw y rhai hyn sydd yn dyfod fel colomenod i'w ffenestri?" Diau nad argoel yw hyn fod Mormoniaeth yn darfod yn y wlad, fel y dywedir ei bod; ac hyderwn y caiff y cyhoedd weled ffeithiau grymusach i brofi ei bywiogrwydd yn y flwyddyn nesaf, drwy fod miloedd chwaneg yn eu gadael: a gwyn fyd pe caffem fod yn un o'r dedwyddolion hyny, medd ein henaid.

---

## ANNERCHIAD YMADAWOL Y LLYWYDD THOMAS JEREMY.

Anwyl Olygydd,—Caniatewch i mi annerch y Saint drwy eich Hudgorn ar fy ymadawiad â'r wlad hon i ddychwelyd tua Seion.

Anwyl Saint,—Y mae yn awr dros ddwy flynedd er pan ddychwelais i lafurio i'ch plith chwi, ac y mae yr amser wedi myned heibio gyda buandra neillduol yn fy ngolwg. Arwyddion amlwg o foddlonrwydd a chariad ein Tad nefol a welais tuag atoch yn eich cynnulleidfaoedd trwy ddeau a gogledd, trwy dywallt arnoch o addewid ei Fab, sef y Dyddanydd nefol, yr hwn yn ddiau a achosodd i chwi lefaru â thafodau newyddion, prophwydo, dwyn i'ch cof bethau a aethant heibio, cyfieithad tafodau, ynghyd a gweledigaethau, doniau iachau, ac nerthol weithrediadau yr Ysbryd Glân. Am y bendithion anmhrisadwy hyn i chwi, a chael cyfranogi o honynt fy hunan, y teimlaf roddi teyrnged o glod a mawl a gogoniant i'r hwn a bïa y gwaith da, pa un ag yr ydym ni wedi cael y fraint o'i gario yn y blaen.

Gwyn fyd y brawd neu y chwaer a deimlant yn eu calonau fod pob peth yn iawn rhyngddynt hwy a'i Tad yn y nefoedd, a'u bod wedi ymdrechu eu goreu i deilyngu yr enw rhagorol sydd arnynt, sef, bod yn Saint, yr hyn ni chynnwysa lai nâ ffyddlondeb yn nghyflawniad o'u holl ddyledswyddau, pa un bynag a'i pregethu yr efengyl i'r rhai sydd o'r tu allan i'r eglwys, neu i wneuthur gwir ymdrech i werthu yr argraffedig air, er goleuo eu cyd ddynion o'r tywyllwch traddodiadol sydd yn eu dal mewn caethiwed, ynghyd ag ymfucheddu ger bron y Saint a'r byd fel dynion wedi ymbriodi â'u Brawd hynaf, y gwnant eu goreu er pob gwawd, dirmyg, ac erlidigaeth i adeiladu ei deyrnas, a dwyn ei amcanion gogoneddus i ben yn y cylchoedd y gosoda Efe hwy ynddynt.

Gan fy mod yn awr ar gychwyn, ynghyd ag amryw o'r Saint Cymreig tua Seion, i'r lle a nododd yr Arglwydd trwy y prophwydi cyntefig a diweddar, i fod yn le o ddiogelwch i waredigion Seion yn y dyddiau diweddaf, rhag pläau, heintiau, newyn, daeargrynfäau, dymchweliad teyrnasoedd, ynghyd a rhyfeloedd na fu eu bath er pan yw dynion yn trigo ar y ddaear, taer erfyniaf ran yn eich gweddiau, anwyl Saint, ar i mi, a'r rhai sydd yn dyfod gyda mi o'r wlad hon i gael iechyd ar ein taith tua Seion, fel y gallom gyrhaedd yno i wrando ar ragorolion y ddaear yn traethu i ni air y bywyd; ac addawaf innau i chwithau na fydd i mi eich anghofio ger bron gorseddfainc y gras.

Gwnewch eich goreu i rybuddio ein cyd-genedl o'r tywyllwch y maent ynddo, fel y casgler yr olaf Sant i Seion cyn y delo y dyddiau blin, pa rai sydd wrth y drysau, i ddïal ar y cenedloedd am eu hanufydd-dod i orchymynion y nefoedd, a'u diystyrwch o'u ffryndiau goreu (pe yr adnabyddent hwynt), pa rai sydd nos a dydd â'u holl egni yn ymdrechu eu dwyn i'r iawn ffordd allan o fagl y diafol; ond er gofid y dywedaf, nad oes ond ychydig yn adnabod yr hyfryd lais; eithr dywedant am y da mai drwg yw, ac am y drwg mai da yw. Ond er fod y rhan amlaf o'n cyd genedl hyd yn hyn yn diystyru ein cenadwri dros ein Mheistr atynt, er hyny na wangalonwch, eithr byddwch yn fwy ymdrechgar i chwilio am y rhai sydd â'u calonau yn onest o'u plith, canys diau fod llawer o'r cyfryw etto i'w cael trwy ddeau a gogledd. Mae yn wir fod yn anhawdd

cael gafael arnynt, o herwydd fod gweision y gelyn ar y ddê ac aswy yn lledaenu celwyddau o'r wasg a'r pwlpudau am danom, gan berswadio pawb a allant i'n gwrthwynebu hyd yr eithaf.

Anwyl Frodyr yn yr Offeiriadaeth, pa rai sydd yn llywyddu y gwahanol Gynnadleddau yn Nghymru, ynghyd a'ch Cynghorwyr,—Gan mai arnoch chwi yr ymddibyna i osod eich byddinoedd mewn trefn, yn ol cynghor eich Prif Lywydd, yr hwn sydd wedi brwydro ar y maes yn llwyddiannus er ys llawer o flynyddau, a diau ond i chwi weithredu yn gymhwys, yn ol fel y cyfarwydda efe chwi, byddwch yn sicr o lwyddo, a chwi a ennillwch filwyr newydd i'ch byddinoedd trwy ddeau a gogledd Cymru.

Llawer o hyfrydwch a phleser a fwynheais yn eich cymdeithas chwi yn y gwahanol siroedd, wrth deithio gyda'n gilydd o gangen i gangen, gan ymddyddan â'n gilydd ar hyd y ffordd am y pethau a berthynent i deyrnas Dduw, a llwyddiant ei waith. Nid wyf yn gwybod i mi ddysgu un egwyddor i'r un o honoch, nac i neb o'r Saint dan eich llywyddiaeth a achosa i mi edifarhau o'i phlegid, ond yn hytrach, frodyr hoff, gwnewch yn ol y cynghorion a gawsoch genyf yn fy ngwendid, a llwyddiant a bendithion y nefoedd a'ch dilyno. Gwn fy mod yn eich caru â chariad efengyl Iesu Grist, ynghyd a'r rhai sydd oddi tan eich llywyddiaeth. Teimlaf yn wir ddiolchgar i chwi ac i'r holl ffyddlon Saint, am eich caredigrwydd tuag ataf, ac mi a weddiaf ar yr Hwn a'm danfonodd tuag atoch trwy gynghor ei weision, i'ch gwobrwyo oll ar eich canfed am eich haelioni tuag ataf.

Y mae yr amser terfynedig wedi dyfod i ben i mi eich gadael, frodyr a chwiorydd anwyl,—y llong yn barod, a'r Saint ymfudol yn ymlwybro tuag ati, gan adael beddau eu tadau, ffryndiau a pherthynasau, a'r Saint anwylaidd ar ol, a'u gwynebau yn awr tua gwlad well mewn ufydd-dod i orchymyn pendant eu Duw.

Yn iach yn awr, anwyl Lywydd Jones, bydd y cynghorion a gefais genych yn sicr o gael lle yn wastadol yn fy nghalon, trwy gynnorthwy yr Ysbryd Glân. Mae lluoedd o bethau yn dyfod i'm côf yn awr am yr hen amser gynt, cyn i ni gychwyn gyntaf o'r wlad hon tua Seion,—pan y clywais chwi gyntaf yn pregethu ffordd yr iachawdwriaeth yn Llanybyddar, er ys

tua deng mlynedd yn ol;—syrthiais mewn cariad atoch, ac at yr egwyddorion a glywais genych y tro cyntaf y gwrandawais arnoch erioed, a diolchaf heddyw i'r Hwn a'ch danfonodd i draethu gair y bywyd i'm clywedigaeth, canys fy enaid a lanwyd â gorfoledd.

Ni raid i mi ddywedyd wrthych am y pleser a gawsom aml dro gyda'n gilydd, pan yn neillduo yn ddirgelaidd i weddio ar ein Duw am y pethau a deimlem fwyaf o'u heisieu,—gallcoedwigoedd a glanau afonydd Cymru ac Americ dystio hyn pe y gallent siarad. Yr Arglwydd a'ch bendithio chwi, ynghyd a'r Brawd Daniels, fy nghyd-lafurwr am flynyddau yn ngwinllan ein Mheistr;—angylion y nefoedd a fyddo yn eich gwylio a'ch cadw rhag afiechyd, ac Ysbryd yr Arglwydd a'ch nertho i gyflawni eich cenadiaethau er gogoniant a mawl i'r Hwn a'ch danfonodd i Gymry, ac er anrhydedd i chwithau pan y derbynia pawb eu gwobr yn adgyfodiad y rhai cyfiawn.

Ffarwel, anwyl Saint, yr Arglwydd yn unig a ŵyr pa bryd y cawn weled ein gilydd etto, ond gobeithiaf na fydd yr amser yn hir. Saint anwyl, gweddiwch ar i'r dwyrain-wynt lanw yr hwyliau fel y gallom gael mordaith fuan a chysurus, ac hefyd fel yr elom dros gledr-ffyrdd, afonydd, gwastadedd, a mynyddoedd creiglyd yn ddiogel i fynwes yr Eglwys, a chael gweled a chymdeithasu â fy nheulu anwyl un waith etto.

Cyn terfynu, caraf roddi tystiolaeth ffyddlon i'r Saint, ac i bawb a ddygwyddo ddarllen yr Annerchiad hwn. Gwn fod y grefydd a broffesa Saint y Dyddiau Diweddaf yn wirionedd, canys yr Arglwydd a brofodd hyny i mi trwy lawer o ffeithiau. Gwn fod Joseph Smith yn brophwyd i Dduw, ac mai gwirionedd yw "Llyfr Mormon," a'r "Athrawiaeth a Chyfammodau." a gwn hefyd fod Brigham Young yn gyfreithlawn olynydd i Joseph Smith, ac oddiar adnabyddiaeth bersonol â Brigham y dywedaf mai efe yw y dyn goreu a welais erioed.

Terfynaf yn awr gyda theimladau o serch a chariad tuag atoch oll. Yr Arglwydd a'ch bendithio â holl ddymuniadau eich calonau mewn cyfiawnder, yw dymuniad

Eich gostyngedig frawd yn efengyl Crist,

THOMAS JEREMY.

## BRADWRIAETH YN ERBYN AMERAWDWR Y FFRANCOD.

MEWN traethawd a gyhoeddwyd yn ddiweddar yn Brussels, cyhuddir Napoleon a'i brif gadfridogion o lawer o gamwri, a'r blaenaf o ystyfnigrwydd a phengamrwydd hynod am ei ffordd ei hun o barthed i'r rhyfel presennol. Tybir mai y Tywysog Napoleon, ynghyd a rhai o brif swyddogion yr Amherawdwr, yw awduron dirgelaidd y traethawd. Dywed fod Napoleon yn mynu ei ffordd ei hun er gwaethaf ei ewyrthr Jerome, ei holl berthynasau, a'i gyfeillion goreu, gan orchymyn iddynt beidio a'i aflonyddu mwyach â'u cynghorion. Dynoethant ei farn bersonol ef yn groes anghydmarol i ryddid, a'i fod ef wedi cyhoeddi rhyfel yn erbyn gwerin lywodraeth, yn yr hwn y mae wedi taflu ymaith ei wain.

Heblaw yr archoll a ddyry dynoethiad anghydfod Napoleon a'i brif swyddogion i'w gymmeriad, mae y newyddiaduron yn ei gyhuddo o fod yr unig achosydd o'r ymosodiad presennol ar y Crimea. Dywedir fod yr holl gynghor rhyfel cynnwysedig o Gadfridogion a Llyngeswyr Prydain a Ffrainc, ynghyd a'r Dug Cambridge a'r Tywysog Napoleon yn ddieithriad, oddieithr y Cadfridog Arnaud, yn wrthwynebol hollol i ymosodiad ar Sebastopol, ond fod yr olaf mewn ufydd-dod i'r Amherawdwr wedi mynu ei ffordd ei hun. Amlyga y ffaith o fod Napoleon yn unig achos o'r rhyfel paham y dengys y fath sêl frwd â myned i'r rhyfel ei hun; dysgwylia y bydd i'w bresennoldeb ef yno gyfnerthu y milwyr i ddarostwng Sebastopol, methiad o ba un a beryglai ei goreu, ac a fygythia yr Amherodraeth lawer mwy na hyny. Napoleon, debyg, dysgwyliwn mai yn ei naid olaf rhag trengu yr ennilla yntau, fel ei dadau, y pinacl uchaf, nad pa le yw hwnw!

---

## ANNERCHIAD YMADAWOL YR HENURIAD WM. WILLES, I'R SAINT CYMREIG.

*Caerdyf, Mawrth* 30, 1855.

Y LLYWYDD JONES,—Anwyl Frawd yn Nghrist,—Tra ar ymadael â'r hen Walia hoff, ni esgeulusaf yr adeg bresennol idd

eich hysbysu o greulonderau y Saint Cymreig tuag ataf, canys ceisiasant fy lladd â thiriondeb yn mhob man y bum yn eu plith, ac nid digonol oeddynt ar hyny heb anfon eu saethau ar fy ol,—sef eu cyfraniadau haelionus o'r lleoedd na allaswn ymweled â hwynt. "Mae yn dda i fod yn Saint y dyddiau hyn. O, fy mrawd, pa mor fawr fydd bendithion ein Tad nefol i'r brodyr a'r chwiorydd hyn! Ni anghofiaf byth mo eich haelioni chwi a hwythau,—gyda dysclaerdeb yr haul yn y ffurfafen y tywyna yr hoff gofiant o hono yn fy nghalon.

Mae ynwyf y teimladau gwresocaf tuag at y brodyr Evans, Jones, Daniels, Griffiths, &c.; ac yn enw yr Arglwydd a'm Mheistr, dywedaf, bendithied Efe chwi â hwythau yn dragywydd.

Pa fodd y cefnoga y byd yr haeriad ffol,—ein bod ni yn "bobl a hudwyd" tra y mwynhawn fendithion yr Arglwydd yn ein plith? Pe yr addawasid bendithion ini, a ninnau heb eu derbyn, iawn fyddai yr haeriad! Ond, diolch i'n Tad nefol, y maent genym, ac nyni a'u cadwn cyhyd ag y byddwn yn ffyddlon.

Dywedaf, yn iach i bawb yn awr, hyd oni gyfarfyddom etto, gan weddio ar i'r bendithion rhagoraf a chyfoethocaf i fod eich rhan ddedwydd chwi, a'ch hanwyl deulu, ynghyd a'r holl Saint dan eich gofal.

Fel arferol, ac yn barhaus,

Wm. Willes.

---

## NEWYDDION O'R RHYFEL.

Ar noson, yr 22ain o Fawrth, ymruthrodd y Rwsiaid allan ar y Ffrancod, pan o dan furiau Sebastopol yn ceisio ymosod ar y lle. Rhoddwyd Sebastopol ar dân mewn dau fan, a gyrwyd y Rwsiaid yn ol gyda cholled o 2,000 o wyr. Collodd y Ffrancod 600, a'r Saeson rai swyddogion. Teimlir y golled yn fawr, gan na lwyddwyd ond i yru y gelyn yn ol, yr hwn a ddengys benderfyniad ystyfnig a diysgog am oruchafiaeth, hyd y nod tu allan i'w gadarn-le, trwy ennill tir ar ein gwrth-gloddiau, adeiladu tŵr niweidiol, a chloddiau, yn cynnwys 10 o wyr y rhych-ddrylliau *(rifle men)* yn mhob clawdd. Dengys yr Amherawdwr Alexander II, fel ei dad o'i flaen, i lysoedd Ewrop,

awydd am heddwch; profa hyny yn ei wlad ei hun trwy osod yr Offeiriaid i annog eu praidd i ymladd dros y iawn grefydd, ac argraffu ar eu meddyliau mai y rhyfel bresennol yw rhyfel gyntefig "Tywysog y tywyllwch yn erbyn teyrnas Crist." Gosododd fyddin o 150,000 o wyr yn nhaleithiau y Baltic, a danfonodd adgyfnerthiad o 30,000 o wyr i Sebastopol a'i chylchoedd. Mewn gair, nid oes un cŵr o holl gyffiniau helaethion Rwsia heb fod parotoadau ymegnïol ynddynt gogyfer â'r gwaethaf yn y dyfodol. Mae cenadon Rwsia a'r gwledydd unol wedi methu dyfod i ammodau heddychlawn, yn Vienna, lle yr arosant yn bresennol am gyfarwyddiadau helaethach oddiwrth eu gwahanol lywodraethau. Awgrymir am wneuthur ammodau mwy cymmeradwy i Rwsia, na dadymchweliad Sebastopol, a lleihâd ei nerth llyngesol yn y Môr Du.

---

## SYRTHIAD BABILON!

Pa beth yw'r sŵn a glywir 'nawr?
  Mae Babel fawr yn gwaeddi,—
Mae fel pe bae ar waed y Saint
  Yn hollol wedi meddwi;
Nid yw ei gwychder hi yn awr,
  Yn cuddio ei haflendid,
Mae dydd ei dïal hi gerllaw,—
  Hi syrth - a byth ni chyfyd.

Hi fydd pryd hyny 'n drigfa flin,
  I bob aderyn aflan,
Rhaid iddi ddrachtio er ei gwae
  O'i chwppan drwg ei hunan!
Am hyn, diolchwn anwyl Saint,
  Fod genym fan diogel,
Lle gallom fyw bob un mewn hedd,
  Tra siglir seiliau Babel.

*Abertawy.* MARGARET HARRIS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

PASIWYD yn y Senedd fod y llywodraeth Americanaidd i roi dwy filiwn a hanner o ddolars, a 3,000 o wyr i ryfela yn erbyn

yr Indiaid sydd ar lanau yr afon Missouri a'i cheinciau; eithr hyderir na chymmeradwyir mo y fath beth yn y Tŷ arall. Pa un bynag a'i cauad y ffordd yna i ymfudo i Seion a wnaiff ein gelynion drwy ffraeo â'r Indiaid ai nadê, diau nad yw cauad un ond agoriad dwy a dewisiad o ddeg o ffyrdd gan y Duw mawr i gwblhau ei amcanion, fel y gwelir wrth a ganlyn:—

Rheilffordd wedi ei chwblhau rhwng y Môr Werydd a'r Môr Tawel, dros wddfdir Panama, yr hon a glud**a** fudolion mewn ychydig oriau o fôr hyd fôr.

---

DYLEDION AM LYFRAU AR Y GWAHANOL GYNNADLEDDAU, AM Y CHWARTER YN TERFYNU, MAWRTH. 31, 1855.

Dwyreiniol Morganwg. £173 19s 11c; Gorllewin Morganwg, £.34 10s 3c; Sir Fynwy, £60 15s 7¾c; Sir Frycheiniog, £9 15s 6½c; Llanelli, £61 19 8½c; Caerfyrddin, £32 10s 11¼c; Sir Aeberteifi, £16 17s 7c; Sir Feirionydd, £13 8s 5¼c; Sir Fflint, £20 19 1¼; Dyffryn Conwy, £13 1s 9¾c; Sir Ddinbych, £19 17s 6¼c; Sir Fôn, £18 3s 11c; Penfro Ogleddol, £7 12s 11¾c; Penfro Ddeheuol, 10s 3¾c; Cangen Gymraeg Liverpool, £3 11s 4c; Swyddfa Liverpool, £1 4s 4c; Sir Henffordd, £4 8s 7c.—Cyfanswm, £593 7s 10¾c.—Y gwallau i'w gwella.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MAWRTH 24 HYD EBRILL 12.—Jonathan Ellis, £1 13s; John Davies, 15s; G. W. Davies, £7 14s 10c; Griffith Roberts, £1 10s.

☞ Methwyd cael lle yn y rhifyn hwn i'r daflen, yr hon sydd yn cynnwys enwau a phrisiau yr holl lyfrau ar law, ond caiff ymddangos yn ein nesaf.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 9.] EBRILL 28, 1855. [CYF. VIII.

## Y BEIBL—PWY A SAIF WRTHO?

*(Allan o'r San Francisco "Chronicle.")*

"GOLYGYDDION Y CRONICL"—Pwysigrwydd y pwnc yw fy unig esgus am gynnyg tresspasiad ychwanegol ar eich colofnau, ac ar sylw y cyhoedd trwy y wasg. Dymunaf roddi apeliad pwysig at fy nghyd-ddinasyddion ar ran y Beibl; i ddal fy nhystiolaeth yn ostyngedig, neu i ardystio yn erbyn y rhyfyg a'r anffyddiaeth a arddangosir o dan y ffug-enw o "Gristionogrwydd."

Wrth farnu oddiwrth rediad cyffredinol y wasg a'r pwlpud, dengys yn brofadwy fod gwyrdroad gwreiddiol a disymmwth ar waith yn bresennol trwy ein gwlad, ac, mi a allaf ddywedyd, trwy yr holl fyd Protestanaidd—byd y Beiblau. Am ryw dair canrif, mae y Beibl wedi ei gyhoeddi a'i honi, gan y byd Protestanaidd o leiaf, fel safon gwirionedd moesol ac athrawiaethol —portread cyfraith a gwareiddiad. Ystyriwyd ei Batriarchiaid, ei Brophwydi, ei Ddeddfroddwyr, ei Feirdd, a'i Apostolion megys "tadau y ffyddloniaid"—esiamplau o burdeb, rhinwedd, doethineb, gwirionedd, a goleuni.

Eithr yn awr, yn ddisymmwth, "daew gyfnewidiad yn dyfod dros ysbryd eu breuddwyd." Fe aeth canmoliaeth yn wg, cariad yn gasineb, parchedigrwydd i adgasrwydd a llidiogrwydd. Ymferwa y fynwes chwyddedig megys mynydd o dân mewnol. Ymhollta o'r diwedd mewn taranau dychryn-

llyd, ac ymarllwysa drwy gyfrwng y wasg a'r pwlpud, mewn brawddegau cyffelyb i'r rhai canlynol, cyfeiriedig at y Beibl, ei egwyddorion a'i nodweddau santeiddiaf—"Ofergoeledd henafiaethol," 'gweddillion yr oesoedd tywyll," "honiadau ffiaidd," "athrawiaethau atgas," "egwyddorion anfoesol a pheryglus," "rheolau anynol a gwarthus," "cyfreithiau aneglur," "sefydliadau oes anwybodus," "arddangosiadau o ganol-nos moesoldeb," "oesau y cyfnos," patriarchiaid barbaraidd," "prophwydi tywyll," "yr Iesu yn y cyfnos," (yn beiddio anrhydeddu, cymmeradwyo, a bytholi cyfammodau ei dadau tywyll a ffiaidd, Abraham, Isaac, a Jacob,) "Apostolion anwybodus ac ofergoelus" (a ddysgent y bobl i ymfabwysiadu i'r un teulu a chyfammod Abrahamaidd, ac a addawent iddynt etifeddiaeth o'r un addewidion), "Apostolion drygionus" (a feiddiant ddywedyd wrth y bobl mai yr unig deulu yn mha un y bendithir yr holl genedloedd oedd teulu Abraham, ac mai yr unig gyfammod tragywyddol o iachawdwriaeth oedd yr un a ddadguddiwyd i Abraham, a adnewyddwyd i Isaac, a gadarnhawyd i Jacob, a adferwyd ac a estynwyd i'r holl genedloedd gan Iesu Grist, "fel y byddo y cenedloedd yn gyd-etifeddion" i'r cyfammodau a'r sefydliadau Abrahamaidd.

Achau "tywyll, anwybodus, gwael, ac ofergoelus" o Batriarchiaid, Prophwydi, Apostolion, a Saint, y rhai (fel Mormon a Joseph Smith) a efelychant yr athrawiaethau o ddadguddiadau newyddion, prophwydoliaethau, gweledigaethau, gweinidogaeth angylion, ac hysbysiadau ysbrydol! Hawyr, yr oeddent oll yn "Formoniaid"—dim ond "Mormoniaid!"

Ceir fod y Beibl yn lyfr "Mormonaidd" yn gyfangwbl. Ei addysgiadau moesol, ei gyfreithiau priodasol, ei sefydliadau duwinyddol, ei fedydd er maddeuant pechodau, ei ddawn yr Ysbryd Glân trwy arddodiad dwylaw, ei ddoniau ysbrydol, ei swyddau—y cyfan OLL oeddynt yr un nifer o ddangosiadau yr egwyddorion a adnabyddir yn awr fel "Mormoniaeth." Ei reolau a'i nodweddau, ei gyfammodau a'i addewidion, ei ordinhadau a'i ysbryd ydynt y darluniau, Joseph Smith yw yr Adferydd a'r Pen-gelfyddydydd sydd wedi gosod sylfaen yr adeilad presennol, ac wedi cyd-godi y goruwch-adeilad mor gydfesurol, fel nad cynt y gosodir y goron-gareg ar ben y gongl, y gwel yr holl Feibl-gredwyr fod yr adeiladau presennol a

chyntefig yn ymdebygoli yn mhob rhan, ac y mae y ddau yn ol "y cyllun" a ddadguddiwyd yn y gweledigaethau nefolaidd.

Ond ymddengys y sefydliadau presennol o ddynol darddiad yn unig, pan eu cymharir â'r "cynllun," yn afluniaidd chwithig, ac yn annhebyg iawn. Dyma achosiad y gwyrdroadau disymmwth y cyfeiriwn atynt. Ymddengys fod y pwnc yn awr wedi ei roddi i fyny, fod Eglwys Saint yr oes hon yr un fath â'r un gyntefig; fod yn rhaid i egwyddorion y ddwy naill ai cydsefyll neu gyd-gwympo; neu, mewn geiriau ereill, fod y Beibl a Llyfr Mormon yn un, ac yn anymranedig. Gwrthdarawa y grefydd Feiblaidd, yr hon a adferwyd gan Brophwyd ac Apostol presennol, yn erbyn coel grefyddau a arferion Groegaidd a Rhufeinig, a drosglwyddwyd i lawr o dan y ffug enw o Gristionogrwydd, a'r mil o luniau analluog a impir arnynt mewn amserau agosach i'r presennol. O ganlyniad, y mae Mormoniaeth yn gyru yr oes bresennol i'r anghenrheidrwydd anhebgorol o naill ai gwrthod y Beibl ar y naill law, neu ymwrthod a'u credöau sectaraidd a'u sefydliadau dynol, a fynwesent cyhyd, ar y llaw arall.

Ddarllenydd! pa ochr a gymmeri? Dewis di y dydd hwnpwy a wasanaethi.

Os mai Duw Abraham, Isaac, a Jacob sydd yn Dduw, addolwch Ef,—os mai Duw y lluniau analluog a'r pleidiau ymrafaelgar yr amserau hyn sydd Dduw, addolwch ef. Mae y ddau allu yn crynhoi eu nherthoedd, ac y maent ar fedr mesur eu grym cyn hir. Y mae pob peth a ellir eu siglo ar gael eu siglo. Yr hyn nas gellir ei siglo yn unig a erys.

Eithr myfi, a'm tŷ, a wasanaethwn Dduw Abraham a neb arall. Efe yw ein Duw ni, a Thad ein Harglwydd Iesu Grist. Yr wyf yn caru a pharchu y Patriarchiaid a'r Prophwydi, ac yn maethu cyfammodau ac addewidion y teilyngiaid cyntefig; ymhyfrydaf yn ngorchymynion Iachawdwr adgyfodedig, yr hwn yw fy Mrenin, yr hwn sydd ganddo bob gallu yn y nef ac ar y ddaear. Am obaith o gyflawniad y cyfammodau a'r addewidion a wnaed i'r tadau y gelwir Saint y Dyddiau Diwddaf i arholiad, er mwyn pa obaith eu cyhuddir gan y "Cenedloedd." Cyfaddefwn mai yn ol y dull a elwir yn "Formoniaeth," felly y gwasanaethwn ni Dduw ein tadau, gan gredu yn yr holl bethau a ysgrifenwyd gan y Prophwydi a'r Apostolion.

Gwylia, O ddyn! gwylia rhag y rhai, yn yr amserau hyn, a honant fwy o oleuni efengylaidd, gwybodaeth ysbrydol, mwy o rinwedd a phurdeb nag Abraham ffyddlon, neu Fab Duw.

Canys, gwybydd yn sicr, hwynt-hwy yw yr "ysgrifenyddion, Phariseaid, rhagrithwyr" o'r hiliogaeth. 'Cyfammod tragywyddol," neu efengyl, sydd rhy annichonadwy i'w gyfnewid, neu ei wella, gan welliadau yr oes bresennol.

Yr eiddoch yn barchus,

P. P. PRATT.

A gyfieithwyd gan Wm. Lewis

---

## YMDDYDDAN RHWNG SECTYDDWR, MORMONIAD, AC ANFFYDDIWR.

SECTYDDWR.—Wel Mr, Mormoniad, a ydych yn parhau yn eich hen broffes o feddu gallu gwyrthiol, os ydych, carwn gael eithaf boddlonrwydd genych ar y mater; bid siwr, ni fyddai yn orchest genych wneyd un wyrth fach er argyhoeddiad enaid gwerthfawr,—chwi a allwch ei gwneyd mae'n debyg? (Dyna oedd cyfarchiad arwydd-geisiwr yn ei siop pan y digwyddodd Mormoniad fyned yno ar fusnes.)

Mormoniad,—(Yn dawel megys pe ofnai)—Na allaf fi yn siwr, syr.

S.—(Gan rwbio ei ddwylaw, gyda gwên wawdus)—Mae eich brodyr yn dweyd y gallant hwy eu gwneyd, onid ydynt?

M.—Ni chlywais i un o honynt yn dweyd hyny, ac nid wyf yn credu y gall un o honynt eu gwneyd ychwaith.

S.—Ha, ha! yr ydych wedi newid eich barn eisoes! Yr oedd yr hen apostolion yn eu gwneuthur, heblaw proffesu hyny; ac etto, proffeswch chwi fod yr un gallu yn gweithredu yn eich heglwys yn awr fel cynt, ac yr ydych yn dywedyd ar yr un pryd nad ydych yn credu y gall un o honoch chwi iachâu hyd y nod un claf,—y fath ddwlni bid siwr!

M.—Mae mwy o anghrediniaeth ynwyf na hyna etto.—ni chredaf ychwaith i un o'r apostolion gynt hyd y nod iachâu un claf!

Anffyddiwr.—Da y dywedasoch, ni chredaf innau i Iesu Grist, apostol, na gwyrth fodoli erioed.

S.—Dyma Formon etto, wedi gorfod troi at anffyddiaeth o

herwydd fy rhesymau anocheladwy i; gwell i chwi daflu eich harfau i lawr ac ymuno â ni.

M.—Pa un ai yr apostolion eu hunain oedd yn iachâu y cleifion, ynte ai Duw drwyddynt? os mai hwy eu hunain, hwy a wnaethant hyny yn eu gallu eu hunain; os mai drwy allu Duw, yna nid hwy ond Duw a'u gwnaeth.

S.—(Wedi troi ei wên a ffromi)—Nid oeddwn yn meddwl fel arall wrth bob rheswm; dal ar air yr ydych rhag myned i'r fagl.

M.—Dweyd un peth a meddwl peth arall yw un o'ch prif nodweddau, mae'n wir, ni ddysgwyliais gyfnewidiad yn eich arferiad. Pe dywedaswn mai nyni sydd yn iachâu y cleifion, buaswn yn y fagl fel chwithau.

S.—Wel, a ydyw Duw yn iachâu cleifion trwy eich gweinyddiad yn ei enw, ynte? neu a allwch chwi roddi prawf diammheuol i mi fod y fath beth yn cael ei wneyd yn y dyddiau hyn? Dyna, ni ddiangwch yn awr.

M.—Wel, wel! yr ydych wedi newid eich barn eisoes! Nos Sul diweddaf y pregethodd eich gweinidog ar hollalluawgrwydd ac anghyfnewidioldeb y Duw mawr; nos Lun y gweddiasoch chwithau ar yr Arglwydd dros eich brawd cystuddiol; a ydyw eich brodyr yn parhau i gredu fod Duw yn hollalluog ac anghyfnewidiol; yn siwr, nid yw Efe wedi cyfnewid eisoes; y mae Efe yn wrandawr gweddi, onid ydyw; beth meddwch, a atebwyd eich gweddi nos Lun?

S.—O, ie, gweddio ar ran yr enaid anfarwol wnaethym i; y mae Duw yn rhoi gras yn y galon mewn atebiad i weddi daer; credaf hyny, ond nid yn rhoddi iechyd corfforol trwy osod dwylaw ar benau dynion, a rhwbio olew ar hyd ddynt, a'r fath bethau a hyna, sydd wedi darfod er ys llawer dydd, yr hyn a brofir trwy y ffeithiau nad wyf fi yn gweled neb yn cael hyny, ond yn unig eich clywed chwi yn *tystio* fod rhai yn eich heglwys chwi wedi ei gael. Yn awr, gofynaf am amlygrwydd ac effeithiau gwyrthiau y dyddiau presennol, cyn y credaf yn modoldeb y cyfryw allu, ac yn nwyfoldeb eich heglwys.

M.—Yr ydych yn credu y dylai fod ffeithiau amlwg heblaw tystiolaeth i argyhoeddi dyn o fodoldeb gwyrth, er nad wyf i yn gweled felly.

S.—(Gan siglo ei ben)—O ydwyf, a dim heb hyny!

M.—Yr ydych yn dyst. Mr. Anffyddiwr, o'i ddywediad.

A.—Ydwyf. [Gan na phleidiai yr Anffyddiwr yr un o'r ddwy ochr, cytunasant iddo fod yn farnwr rhyngddynt.]

S.—Yn awr, Mr. Mormon, a oes rhywun neu rywrai yn eich heglwys wedi derbyn iachâd trwy allu Duw?

M.—Oes.

S.—Ië, a welodd rhywun hyny heblaw y Mormoniaid.

M.—Do, y mae tudalenau ein cyhoeddiadau eglwysig yn Gymraeg a Saesneg yn frith o lythyron oddiwrth y Saint o wahanol lefydd, yn tystio am iachâd trwy allu Duw, ac enwau tystion yn, ac allan o'r eglwys yn gyssylltiedig. Mae y personau hyny yn fyw, a gellir siarad â hwy pan y mynoch.

S.—Pw, pw! eich cyhoeddiadau chwi sydd yn dweyd hyny, pwy ddysgwylia yn amgenach?

M.—Pe dywedasai ein cyhoeddiadau anwiredd, buasai yr holl gymydogaethau lle y dywedant i'r iachâd clefydau ddygwydd wedi anfon yn ol a'u gwrthwynebu; ond beth am hyny, derbyniais iachâd fy hunan trwy allu goruwch naturiol, yn y gweinyddiad o'r ordinhâd o osodiad dwylaw ac eneinniad ag olew, a thrwy weddi y ffydd, ac y mae degau yn tystio yr un pethau yn wythnosol yn ein cyfarfodydd Saint. A ellwch chwi eu hammheu?

Brawd Mormonaidd arall.—Yr wyf innau yn dyst o hyna hefyd.

S.—Nis gallaf eu credu hwy na chwithau; nid gwyrthiau o'r fath yna yn unig a wnaeth Crist, ond Efe a agorodd lygaid y deillion a chlustiau byddariaid, rhydhaodd dafod y mudan, a gwnaeth i'r cloff gerdded, a llawer o wyrthiau cyhoeddus o'r natur yna. Yr oedd y dall yn medru gweled, a'r byddar glywed yn dystiolaeth ynddo ei hun. Yr un effaith gafodd llefariad y mudan, a cherddediad y cloff er gorfodi pawb a'u hadnabuasant yn flaenorol i gredu. A gyflawnwyd hyny yn eich heglwys chwi?

M.—Do, mae y dall wedi dyfod i weled, y byddar i glywed, y mudan i lefaru, a'r cloff i gerdded. Clywais y mudan hwnw yn tystiolaethu am y fendith oruwch-naturiol a dderbyniodd.

S.—Ië, dyna hi! yn Nghasnewydd, yn Bristau, ac yn mhob man ond yma lle gwelwyf i!

Barnwr.—Chwareu teg i'r Mormon, gofynaf i chwithau ar yr

un tir ag y gofynwch iddo yntau,—Yn mha le y cyflawnwyd y gwyrthiau a gredwch chwi ynddynt?

S.—(Yn ddifias iawn)—Yn, ac oddiamgylch Judea.

B.—Mae hyny lawer iawn yn mhellach nâ Chasnewydd na Bristau! Pwy a glywsoch chwi yn tystio am danynt?

S.—Ni chlywais i neb.

B.—A welsoch chwi un o'r rhai hyny a iachawyd?

S.—Na welais i.

B.—Wel, yn enw pob rheswm, pa sail sydd i'ch crediniaeth ynddynt?

S.—Maent yn ysgrifenedig yn y Testament Newydd.

B.—Mae gwyrthiau eglwys y Mormoniaid yn ysgrifenedig hefyd; pe le mae y tystion a ysgrifenodd hanes y gwyrthiau a gredwch chwi ynddynt?

S.—Maent wedi marw!

B.—Wel, hawyr bach, nis gwn pa fodd y deallaf chwi, gan yr anghredwch hanes gwyrthiau presennol, a'r tystion a'u gwelodd ac a'u teimlodd hwynt; yr ydych yn credu yn ysgrifeniadau tystion meirwon, heb sicrwydd nad ffug chwedlau ydynt o eiddo un arall, ac etto dywedasoch y dylasai fod ffeithiau amlwg heblaw tystiolaeth i argyhoeddi dyn o fodoldeb gwyrth! Ymddengys i mi pe y rhodiai gwr cloff y deml, fel y galwch ef, o'ch blaen, gan dystio ei iachâd, na chredech ef, neu chwi a gredech y dynion hyn wrth bob rheswm, pe byddech yn gyfiawn. Nid wyf i yn credu yr un o honoch hyd yn hyn; ond gwell fyddai genyf gredu y Mormoniaid ná chwi beth bynag, gan eu bod hwy a'u cymydogion cyfeiriedig yn fyw, ynghyd â'r dynion a iachawyd, pa rai sydd yn parhau i dystio yr un peth, a gellir ymholi i wirionedd y dygwyddiadau. Hollol groes yw eich sefyllfa chwi. Os condemniwch dystiolaeth y dynion hyn, a'r hanesion cyfeiriedig, condemniwch y Testament Newydd hefyd, neu treiwch ffordd well i brofi dwyfoldeb crefydd.

*(I'w barhau.)*

---

## AML-WREIGIAETH YN UTAH.

(*O'r "New York Evening Mirror," Chwef.* 20, 1855.)

GAN fod Aml-wreigiaeth yn "sefydliad cartrefol" nis gallwn weled gyda pha gyssondeb y gwna y Deheuwyr ac Undeb-gyn-

nalwyr ymyraeth ag ef. Am y lleill, os prisia y brawd John Taylor dystiolaeth "Cenedl ddyn," gall gael ein haddo ni, fod Brigham Young yn foneddwr trwyadl, cymmwynasgar a charedig i ymfudwyr, hyd y nod pan yn wisgedig, fel yr oeddem ni, mewn ffwstian, ac yn galw heibio iddo, fel y galwasom ni, yn hollol ddieithr-ddyn, heb un arweiniad i mewn gan Formon na Chenedl-ddyn. Yn ystod y tair wythnos o'n harosiad yn Ninas y Llyn Halen Mawr, gwelsom fwy o drefnusrwydd, diwydrwydd, a gweddeidd-dra nag a welsom mewn un man arall yn y byd, ac y mae yr ysgrifenydd o hyn wedi gweled ychydig o'r bellen fechan hon hefyd. Beiddiwn haeru, ac heriwn wrthbrofiad, na cheir gwladwyr mwy heddychlawn, trefnus, a diwyd, yn cadw y gyfraith yn well na phreswylwyr Deseret. a dymunem i bawb iawn ddeall nad ydym yn adnabod un enaid yn eu plith, ac nad oes genym ronyn o gyd-ymdeimlad â'u crefydd na'u sefydliad amlwreigaidd.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, EBRILL 23, 1853.

Y Ddadl yn Abertawy.—Hysbys yw weithian, ond odid, i ddarllenwyr yr Udgorn, ein bod ni wedi cael ein herrio gan ddieithryn, yr hwn a ddaeth i'r dref hon i ddarlithio yn erbyn "Mormoniaeth," i ddadlu ag ef; hysbys yw i'r cyhoedd hefyd ddarfod i ni wrthod ymgecru ag ef, a chyhoeddi rhai o'n rhesymau dros beidio ymwneyd dim ag ef, sef, o herwydd yr ystyriem ein crefydd yn rhy bwysig ac anrhydeddus i gael ei dirmygu gan y fath un digymmeriad ag y profwyd ein herriwr, a chyn hyn cyfaddefa pob dynion rhesymol ag yr ymddyddanasom â hwynt ar y pwnc, heb *eithrio ei brif gefnogwyr ef ei hun*, ein bod wedi ymddwyn mewn doethineb ac yn anrhydeddus i'n crefydd drwy *silent contempt*. Ar yr un pryd cyhoeddasom ar ein Hysbysiadau *(hand-bills)* "Na wrthodem feiddiad i am-

ddiffyn un ac oll o'n hegwyddorion yn ngwyneb un ac oll o 'Barchedig weinidogion yr efengyl' yn Abertawy, a gefnogant yr herriwr, yr Ysgrythyrau Santaidd yn ol cyfieithiad Iago I., a'n llyfrau awdurdodol ein hunain i fod yr unig safon, gan honi yr un hawl i brofi honiadau ein gwrth-ddadleuwr yn ol yr un safon." Dyna oedd ein hatebiad, ac yn ganlynol i hyn hysbyswyd ni fod y Parchedig C. Short yn ein herrio i ddadlu ag ef ar y gosodiadau canlynol:—

"1. Mormoniaeth yn dwyllodrus yn ei tharddiad.

"2. Yn gableddus yn ei hopiniynau.

"3. Yn anfoesol yn ei hymarferiadau."

Gwrthodasom yr uchod o herwydd eu haneglurdeb, ac fod yn amlwg i ni mai yr amcan oedd defnyddio y dosparth o brawfiadau y gwrthodasom ymgecru â hwynt yn flaenorol, sef, llysnafedd a cham gyhuddiadau gelynion; ac mae genym bedwar o dystion a'n clywsant yn dweyd wrth ddirprwywyr Mr. Short ar y 3ydd o Ebrill fod ein cyhoeddiadau blaenorol yn ein galw i gychwyn i Liverpool dranoeth, i gyfarwyddo dros ddau cant o ymfudwyr Cymreig ar y llong, &c.,—ein clywed yn *gwrthod yn bendant* i ddadleu ar y gosodiadau uchod, ac i glywed Mr. G. P. Evans, dros y dirprwywyr, yn cyd-synied â ni drwy ddweyd wrth ymadael "Na ellid gwneyd un dim hyd nes y dychwelem ni ar yr 22ain, ac yna i gyfarfod Mr. Short i benderfynu pynciau y ddadl." Dyna oedd unig ganlyniad ymweliad â ni.

Wedi dychwelyd, ymgyfarfuasom â Mr Short a'i *Committee*, Llun, Ebrill 22ain, ac er ein syndod mawr deallasom wrth Mr. Short fod ei genadon wedi ei hysbysu ddarfod i ni addaw dadleu ar y pynciau rhag-grybwylledig, a chasglodd dau o honynt, yn wyddfodol, wynebgaledwch i haeru iddynt ddeall felly! Parodd hyn gryn gyfnewidiad mewn pethau. Darllenasom yr egwyddorion sylfaenol a ganlyn ger gwydd Mr. Short, eithr nid arosai i'w clywed oll, aeth ymaith ar ffrwst er yr oll a allem ni a'i gyfeillion grefu arno i aros, allan yr aeth, a'r gair olaf a glywsom o'i enau oedd, "Efallai eich bod chwi eisieu yr Urim a'r Thumim ar eich trwyn cyn y gwelwch!" Beth feddylia y darllenydd o ddyn a broffesa fod yn "weinidog efengyl" ag a all wawdio a chablu peth mor santaidd a chyssegredig ag yw yr "Urim a'r Thumim," drwy yr hwn offeryn y dadguddiai

yr Arglwydd ei ewyllys i'w bobl gynt? Etto dyma'r fath un yw ein gwrthwynebwr.

Darllenasom y gosodiadiadau canlynol i'r *Committee*, a chrefasom ar i Mr. Short i ymddadleu arnynt, eithr yn ofer; wedi ei *exit* ef, dilynodd ei *Gommittee*, gan ddweyd na feddent hawl i dderbyn y cynnyg. Dywedodd dau o honom yn bendant ddarfod i ni wrthod y gosodiadau cyntaf ar y dechreu, a chynnygiasom brawfiadau ychwanegol o'r un peth; er hyny oll, ac er i ni eu hysbysu y cyhoeddem hyny oll i'r byd, rhuthrasant allan, gan ein gadael yn yr ystafell.

A ganlyn sydd yn gopi cywir o'r gosodiadau rhag-grybwylledig:—

1. A yw ffydd, edifeirwch, a bedydd ER MADDEUANT pechodau yn hanfodol er iachawdwriaeth?

2. A yw pregethwyr y Bedyddwyr yn "weinidogion yr efengyl?"

3. A yw apostolion a phrophwydi, ynghyd â doniau yr Ysbryd Glân yn hanfodol i fodoldeb eglwys Crist ar y ddaear?

4. A yw athrawiaethau, ordinhadau, a chorffoliad eglwys y Bedyddwyr yn gyfunol â chynllun y Testament Newydd?

5. A gynnwysa yr ysgrythyrau brophwydoliaethau y darganfyddid oracl cyssegredig, ac a gyflawnir y cyfryw yn nyfodiad Llyfr Mormon?

6. A gymmeradwya yr ysgrythyrau amlwreigiaeth?

7. Y Duwdod:—A yw y Tad a'r Mab yn bersonau gwahanedig?

Geilw ein gwrthwynebwyr yr egwyddorion sylfaenol hyn yn bethau dibwys ac anmherthynol i "Formoniaeth," eithr profa hyny eu hanwybodaeth o ba beth yw Mormoniaeth, ac y mae eu hymddygiad yn ngwyneb y ffaith wedi ein gorfodi i gredu mai chwilio am ddrws cefn i lithro allan y maent, ac heb ddigon o ddynoliaeth i gyfaddef eu dyben.

Cynnwysa yr uchod brif bynciau Mormoniaeth yn ol a ddeallwn ni—nid ydym yn osgoi un, na wnawn, nac amlwreigiaeth, Llyfr Mormon, y Duw a addolwn, nac unrhyw erthygl arall o'n credo; eithr parod ydym i amddiffyn un ac oll rhag un neu yr oll a nodasom yn ein hysbysiadau tra Ysbryd y gwirionedd a'n cynnalio.

GAN I MR. SHORT WRTHOD MIN CYFARFOD FELLY MEWN DADL

Traddodir darlithiau ar y pynciau a gynnygiwyd yn destunau dadl i'n gwrthwynebwyr, yn Neuadd y Saint, Heol Orange, Abertawy, i ddechreu nos Wener, Ebrill 27, 29, 30, Mai 1, 3, 6 a'r 7, i ddechreu am hanner awr wedi saith yn yr hwyr, yn ganlynol, yn ol fel eu henwir. Mynediad i mewn trwy docynau 3c. yr un, neu 1s. am yr holl ddarlithiau. Nos Suliau am 6 o'r gloch yr hwyr, yn rhâd.

Dyma yw y desgrifiad gwirioneddolaf a allwn roddi o sefyllfa a hanes yr ymgyrch dadleuol hyd yn hyn, ac os tardda o hono etto unrhyw ddyddordeb i'n darllenwyr, bydd iddynt roesaw o hono. Dibyna yr ymddangosiad o'n hamddiffyniad yn ngholofnau Newyddiaduron y dref hon a'n cyhuddant ar ddyngarwch a gonestrwydd eu Golygyddion i raddau, etto diolchwn fod cyfryngau ereill a arddangosant ein gwironeddau yn ddysclaer, grymus, a buddygoliaethus, gydag amynedd.

Wrth y Saint, dywedwn, cyd-lawenhawn o fod yn deilwng i ddyoddef yr oll dros ein Hiesu a'i efengyl, ac nad oes gymmaint ag un o Saint Abertawy, nac oes un, wedi cael ei siglo yn y ffydd, a thra y gweddiant am Ysbryd y gwirionedd, ni siglir mo honynt chwaith, gan holl gewri y fall a'u dichellion.

---

## MR. PARLEY P. PRATT.

MR. Parley P. Pratt, i'r hwn y mae genym barch mawr fel dyn ac fel dysgawdwr, ynghyd a chymmaint canmoliaeth i'w dalent ag y caniatâ yr athrawiaeth i'r hon y defnyddia hi i'w hamddiffyn —Ymddengys fod Mr. P. P. Pratt wedi myned i mewn i demlau ein harian-newidwyr yn y ddinas hon, ac wedi myned tu hwnt i bob rheswm ac athroniaeth trwy rym ei ymosodiad ar yr Eglwys Gristionogol. Cofier Mr. Pratt gan ein darllenwyr, fel Apostol hunaniaethol Mormoniaeth Aml-wreigaidd yn Nghalifornia, a'i orchest ddiweddaf oedd i dynu arno dân llonaid ystafell o ddarllenwyr yn y *S F. Mercantile Library Association*, ac yna gyda geiriau a synent Mr. Walker, a gramadeg a aflonyddai dawelwch meddwl Mr. Lindley Murray am byth, dechreuodd a thân-beleni gestell eu rheswm, a distawodd neu analluogodd bob dryll! Am amryw wythnosau y

mae Mr. Pratt yn anelu ac yn ymosod â'i lynges o ymresymiadau Amlwreigaidd yn nghyflawn olwg ddrysau ein heglwysi a'n hystafelloedd darlithio, ac hyd y nod wedi myned yn bersonol at risiau ein pwlpudau i gyhoeddi ei hun yn amddiffynydd ffydd newydd, gan daflu y fyny i faneg, hyd y nod dan drwyn y gweinidog. Hyd yn hyn, credwn nad aeth yr un Dafydd allan i gyfarfod a'r Philistiad hwn ar unrhyw bwnc o gyfraith, moesoldeb, neu grefydd, ar ba rai y mynega ei barodrwydd i gyfarfod ag unrhyw elyn.—*Alta California.*

---

## CYMMERIAD I'R SAINT.

*Gan y Prif Ynad Kinney yn Nghyfarfod Gwladwriaethol Tiriogaeth Utah.*

Ni chyfoddaf i ddywedyd chwedlau, nac i wenïeithio i neb, eithr i fynegu fy nheimladau. Yr wyf wedi sylwi ar weithrediadau y Llys hwn oddiar y cyfarfod blaenorol. Mi a welaf eich bod wedi mabwysiadu y rheol ddoeth o ffurfio cyfreithiau yn anaml ac eglur. Y llywodraethau a gyfrifir ddoethaf yw y rhai a ymarferant y cyfreithiau anamlaf a rhwyddaf; a chan yr honwch oruwch ddoethineb, arddangosir hyny yn ddiau yn ffurfiad eich cyfreithiau. Nid dewisol genych lywodraethu eich pobl trwy gyfraith; yr ydych yn ceisio eu llywodraethu trwy gariad. Ni ddywedaf hyn er mwyn canmol y Llywodraethwr B. Young na'i Gynghor. Cyd-dystia pob peth yn y dyffryn hwn am ymgais, diwydrwydd, purdeb, a dealltwriaeth y bobl hyn. Eich sefydliadau gwych, dymunol, ac ardderchog anghydmarol—eich hadeiladau cyhoeddus, eich peirian-waith, a'r undeb a'r cydymdeimlad a ffynant drwy eich tiriogaeth ydynt gofadeiladau o'r ddoethineb a'r gallu a ddylanwadant ar, ac a lywodraethant bob dosparth. Nid oes dieithryn a ddaw yma ar na syn r gan y moethau, y gwychder, a'r trefnusrwydd a fodolant drwy y dyffryn hwn. Nis gellir priodoli hyn i ddoethineb ddynol—dylifa oddiwrth yr Hollalluog,—Creawdwr nef a daear: nis gallaf fynegu ei darddiad drwy un egwyddor arall. Parhäaf i sylwi gydag awydd ar gynnyddiant ac amlygrwydd y diriogaeth, tra y byddwyf gyda chwi, a dichon y bydd hyny dros fy holl fywyd, ar a wn i; ac y mae yn ymborth i'm

meddwl. Er fod trigolion y diriogaeth hon yn ddeilliedig o gynnifer o genedloedd, llywodraethau, a theyrnasoedd, etto nid oes pobl mwy dedwydd, mwy rhydd a llwyddiannus nâ'r bobl hyn. Geiriau gwirionedd yr wyf yn lefaru, ac hyfrydwch fy enaid yw eu mynegu.

[Mewn atebiad i sylwadau y Llywodraethwr Young ac ereill i'r uchod, sylwodd yr Ynad Kinney yn ychwanegol.]—

Yn awr y mae rhwymau dyledus o ddiolchgarwch mawr arnaf am gynnifer cyfeiriad at fy enw. Llefarwyd am danaf gan Col. Babbit, megys ymofynwr am eich pobl, eich cyfreithiau, a'ch gwlad. Yr oeddwn yn un o'r Barnwyr yn Mhrif lys Iowa am saith mlynedd; yr oedd fy nghyflog yn 1,000 o ddolars yn flynyddol; yr oedd cyflog Prif Farnwr yn Utah y pryd hwnw yn 1,800 o ddolars. Yr oedd cartref dymunol genyf yn Iowa, fel y mae gan lawer o honoch chwi yma. Yn fuan lledaenwyd y newydd am fy mhenodiad i Utah, ac am fy nghyfeillion, aelodau y senedd, ymddadleuent â mi ar y anaddasrwydd o adael Iowa; gorlenwyd fy llythyr-gell gan lythyron ar y pwnc; hysbyswyd fi gan fy hen gyfaill o Gaerefrog Newydd, yr hwn sydd gyfreithiwr enwog yn y dalaeth hono, gyda'r hwn y myfyriais ar y gyfraith dros bedair blynedd, nad allaswn fyw yma, a chyflawni dyledswyddau y swydd a benodwyd imi. Cydunwch â mi fod peth anghen iawn farniad i ddilyn y ffordd a gymmerais i. Cyfeiriwyd at achosydd y cynhwrf cyntaf; clywais ei ddarluniad: mae ei ddywediadau ei hun yn ei gondemnio. Gwelais ef yn Washington, a dywedais yn ei ddannedd, yn mhorth y Senedd-dŷ, mai ei haeddiant a gafodd pan ei ceryddwyd yn Utah. Pe y chwiliwn i'm teimladau fy hun mewn perthynas â dyfod i'r lle hwn, cynhyrfwyd fi gan deimlad, yr hyn oedd, y gallai dyn sefyll yn fy nghylch presennol i, a chyflawni ei ddyledswyddau yn ffyddlon. Meddiannwyd fi fwy gan deimlad i dyneru meddwl y cyhoedd, a dangos i'r byd yr enllibau a bentyrwyd ar y bobl hyn, na chan un dyben arall. Ni allaswn fod am gyfoeth nac anrhydedd. Y mae genyf wraig a phump o blant; a merch wedi cyrhaedd oed gwraig; a gallaf ddweyd fod llai o anfoesoldeb, llai o feddwdod, a llai o lygredigaeth yma nag yn un man lle y bum erioed. Cefnais, ar gynghor fy nghyfeillion; ni edifarhauais byth am y camrau a roddais.

Ceisiasant rwystro fy nheulu, eithr myfi a'u llywodraethais hwynt; er i mi adael eu dewis iddynt i ddyfod neu i aros. Os galwch hyn yn anrhydedd i'ch Tiriogaeth, y mae i chwi roesaw iddo, a'm balchder innau yw ei roddi.

---

## DYCHWELIAD YR ALLTUD.

GAN MISS A. M. PORTER.

COEDWIGOEDD las 'werddon, chweg, chweg ydoedd si,
Yr awel gynt chwythai drwy'ch cangau gwyrdd chwi;
A mwyn ydoedd rhediad eich dyfroedd i'm clyw,
Ac anwyl y bwth bu'm hanwylyd yn byw.

Pryd hyn wrth eich dyfroedd drwy'ch gelltydd yr awn,
Wrth Norah siaradwn am gariad yn llawn:
Tra'n dêr fel y lloer a arianai eich gwedd,
Yr hunai fy mhlentyn 'n ei breichiau mewn hedd.

Ond 'nawr pan ymwelaf â thi 'werddon glyd,
Fy mlwyddi hedasant yn ofer i gyd:
Dy fryniau a'th goedydd adwaenir ar daen,
Ni enynant dreiddiadau drwy'm bron fel o'r blaen.

Mae'n wyrddon dy fryniau a'th elltydd o hyd,
Mae'n llonydd dy ddyfroedd a garaf yn glyd:
Ond nos yw fy nghartref—ei goed, gwyllt eu gwedd,
Can's fy ngwraig a fy maban yn't lwch yn y bedd.

*Cyf.*, ANEURIN L. JONES.

---

## NEWYDDION O'R RHYFEL.

HYSBYSIR ni yn helaethach gan y newyddiaduron dilynol i'n rhifyn diweddaf ar hanes yr ymosodiad a gynnwysant ar Sebastopol.

Cydunwyd i gael awr o amser heddychlawn er claddu y meirw. Llanwai meirwon y Rwsiaid y ffosydd a ymylent gloddiau y byddinoedd unol, y rhai a'u trywanent cyn gyflymed ag y dringent i ben y cloddiau.

Wedi hir ddysgwyliad, ac awydd mawr, hysbysant hefyd

fod yr ail, a gobeithir, yr ymosodiad olaf ar Sebastopol wedi dechreu am bymtheg mynud wedi pump o'r gloch, boreu dydd Llun Pasg, Ebrill y 9fed, pan y dechreuwyd saethu o holl fagnelau y byddinoedd unol i amddiffynfäau y gelyn, yr hwn yn mhen enyd a'u hatebodd. Dychrynllyd oedd clywed sŵn ergydion marwol yr holl fagnelau anferth, y rhai a barotöwyd er ys misoedd, ynghyd ag ysgrechfeydd y crageni tanllyd yn ehedeg drwy yr awyr ac i blith y gelyn; gweled pridd a cherig, a darnau o gyrff marwol y gelynion yn cyfodi fyny yn un cwmwl cymmysglyd i'r awyr. Parhauwyd felly hyd 1 o'r gloch ganol dydd, pan yr oedd y mwyrif o amddiffynfeydd y gelyn wedi eu dinystrio, ac o'u magnelau wedi dystewi. Gwelid y llynges yn parotoi i ymosod o'r môr cyn gynted ag y gwelent eu byddinoedd wedi agoryd ffordd i, ac yn ymruthro ar y gelyn, yr hwn a wrthwynebir yn ei ffoedigaeth, mewn cychau yn groes i'r dwfr i'w amddiffynfäau gogleddol, gan y llynges, ac ar hyd yr heol gan gadarn glawdd cuddiedig a amlygir y pryd hwn.w Nis gwyddom yn iawn pa golled a gafodd y gelyn yn yr ychydig oriau hyny; cyfaddefant eu hunain ei fod yn agos i fil. Colled y Saeson yw 20 wedi eu lladd, a 40 wedi eu clwyfo. Cyn y cymmerir Sebastopol, collir miloedd lawer, fel yn yr Alma o'r blaen; bydd y frwydr yn sicr, ffyrnig a gwaedlyd.

Mae cenhadon y wlad hon a Ffrainc wedi llwyr fethu dyfod i ammodau heddychlawn â Rwsia, ac ni obeithir mwyach am heddwch yn y ffordd hono.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CARIAD PERFFAITH.—"Onid oes arnoch beth ofn?" ebe dyn wrth ei wraig pan darawodd hi ef yn ei wyneb mewn nwyd. "Nac oes ronyn," oedd yr atebiad, "canys y mae perffaith gariad yn bwrw allan ofn."

YMWELIAD Amherawdwr ac Amherodres y Ffrancod a'i Mhawrhydi Victoria, sydd wedi bod yn brif destun newyddiaduron y wlad, ac yn eu hol hwynt—prif fywyd Llundain tra yr ymarosasant yno. Cawsant bob caredigrwydd, gellid meddwl, a allasai dyfeisiadau y meddwl arddangos iddynt gan y teulu

breninol, y Llywodraeth, a'r werin; do, fwy o barch nag a gafodd na phrophwyd nac angel a ddaeth ger gwydd byd, debygem. Ymddengys yma wrth-gyferbyniad gwyrthiol braidd, i'r teimladau oedd at yr un dyn, tra er ys ychydig flwyddi yn ol nid oedd amgen na chwnstabl i ddofi dihirod hyd heolydd Llundain, ac er pan yn ddiweddarach wedi neidio ar orsedd, yr oedd yn brif destun dirmyg ac anghymmeradwyaeth newyddiaduron y wlad! Ai ynddo ef, ynte yn ei farnwyr mae y gwahaniaeth? Yr un dyn yw, os nad yr un egwyddor hefyd. Yn hyn gweiwn ansefydlogrwydd barn gwerin am dano; a chan mai atto ef, paham nad dichonadwy fod ereill mor anhaeddiannol o'u hanathemäau yn awr. Tra y llawenhawn yn y gobaith o heddwch ac undeb rhwng y ddwy wlad a grea yr ymweliad hwn ac y dymunwn fod y cariad yn cynnyddu fwy-fwy, nid ydym heb obaith yr agorir llygaid gwlad a'i thrigolion cyn hir i iawn ddirnad gwir gymmeriadau dynion llawer gwell na Louis Napoleon yn eu plith, a ystyrir yn awr yn fwy anmharchus nag y bu ef erioed. Gwir fod barn boblogaidd yn gyfnewidiol, a'r niwed mwyaf a wnaeth y byd iddo ei hunan erioed oedd cam-farnu cymmeriadau a dybenion ei oreuon.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O EBRILL 12 HYD 27.—Hugh Roberts, Dyffryn Conwy, £1 12s 1c; G. W. Davies, £2 9s; T. D. Evans, 9s; Griffith Roberts, £1; Cangen Gymreig Liverpool, £1 11s 6c; Thomas Morgan, £1; A. Galloway, 6s 6c; John Davies, 9s.

☞ GWALL.—Yn ein rhifyn blaenorol, tud. 128, diangodd "Griffith Roberts, £1 10s," yn lle "Griffith Roberts, 10s."

☞ Yr ydym newydd gyhoeddi tafleni i'n dospartbwyr llyfrau, y rhai a'u cynnorthwya i wneyd eu cyfrifon i fynu ar ddiwedd pob chwarter yn hawdd ac yn eglur. Danfoner un o honynt yn ol yn ddioed wedi ei hiawn lanw.—Pris 6c. y dwsin.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 10.] MAI 12, 1855. [CYF. VIII.

## DEISEB AT LYWYDD YR UNOL DALEITHIAU DROS AIL BENODIAD Y LLYWODRAETHWR BRIGHAM YOUNG AR UTAH.

I'W RAGOROLDEB FRANKLIN PIERCE,
*Llywydd yr Unol Daleithiau.*

ARDDANGOSAI eich erfynwyr yn barchus; mai gan ymedd y Llywodraethwr Young ymddiried pobl y Diriogaeth hon yn gyfangwbl, perthynol i bob plaid a sect yn ddiwahan; ac oddiwrth adnabyddiaeth bersonol a chyfeillachol, cawn NI ei fod yn gynnaliwr cadarn i Lywodraeth a chyfreithiau yr Unol Daleithiau, ac yn golofn brofedig yn sefydliadau gwerin-lywodraeth, ac wedi gwrando yn aml ar ei sylwadau, yn y dirgel yn ogystal ag mewn cynnulleidfaoedd cyhoeddus, a gwyddom ei fod yn gyfaill gwresog i, ac yn gynnaliwr rhyddid gwerinlywodraeth, er y cyhoeddiad o chwedlau yn y Taleithiau i'r gwrthwyneb; yr ydym wedi cael ein boddloni yn ei weithrediadau fel Llywodraethwr, ac fel Arolygydd achosion Indiaidd, ac hefyd y treuliad o anrhegion y llywodraeth at adeiladau cyhoeddus i'r Diriogaeth.

Gyda llawenydd a chariad arddangoswn, fod yr unrhyw wedi ei ddefnyddio er lleshâd goreu y genedl; a chan y byddai ei appwyntiad yn fwy o leshâd i'r Diriogaeth nag a fyddai appwyntiad unrhyw ddyn arall; yr achosai hyny ddiolchgarwch holl drigolion y Diriogaeth, ac yr achosai ei symudiad y teim

ladau mwyaf gofidus ac hiraethlawn; ac mai ein barn, seiliedig ar adnabyddiaeth bersonol a gawsom o'r Llywodraethwr Young, ac oddiwrth ein sylw o'r canlyniadau o'i ddylanwad a'i weinidogaeth yn y Diriogaeth hon, yw, ei fod yn meddu mewn graddau uchel bob cymhwysderau gofynol er cyflawni ei swydd-waith, mewn uniondeb a gallu difeius; mai efe yn ddiammheuol yw y person mwyaf cymhwys a ellir ddewis i'r cyfryw swydd.

Yr ydym NI gan hyny yn ymhyfrydu yn ei gynnyg idd eich teilwng ystyriaeth, ac yn taer erfyn ei ail-appwyntiad fel Llywodraethwr, ac Arolygydd achosion Iudiaidd dros y Diriogaeth hon.

Dinas y Llyn Halen Mawr, Tiriogaeth Utah,
Rhagfyr 30ain, 1855.

J. T. Kinney, Ch. Justice U. S. Supreme Court Utah; E. J. Steptoe, Lt.-Col. U. S Army; John F. Reynolds Bvt.-Maj. 3rd Arty. U. S. A.; Rufus Ingalls, Captn. U. S. Army.; Sylvester Mowry, Lieutenant U. S. Army; Lathett L. Livingston, 3rd Arty.; Jno. G. Chandler, Lt. 3rd U. S. Arty.; Robt. O. Tyler, Lt. 3rd Arty.; Benjn Allston, Bvt. 2nd Lt. 1st Dgs. U. S. A. Army; Chas. A. Perry, Sutler U S. A.; Wm. G. Rankin, [Quartermaster's Clerk]; Horace R. Wirtz, Medical Staff U. S. A.; Leo. Shaver, Asst. Jus. S. C. of U. S. Ter. of Utah; Wm. I. Appleby, Clerk Supreme and First District Courts U. S. T. U.; Curtis E. Bolton, [Bookkeeper of Mr. Perry]; A. W. Babbitt, Secretary of Utah Territory; Wm. Mac, [Merchant;] J. M. Hockaday, [Do.;] George Sims, [Do; Henry C. Branch, [Do;] C. C. Branham, [Do.;] C. J. Byrne, Do.;] Lucian L. Bedell, [M.D.;] Courtland Livingston, [Merchant;] Felix Tracy, Jr., [Adams & Co.'s Express Agent;] E. Smith, Postmaster Salt Lake City; Joseph Hollman, U. S. Atty. for Utah; Joseph L. Heywood, U. S. Marshall Utah Ter.; Jos. Greene, [Merchant;] J. Geo. Ziegle, [Do.;] Louis Schooll, [Do.;] B. W. Cannon, [Do.;] John J. Kerby, [Do.;] S L. Wallace, [Do;] F. S. Klumph, [Do.;] Stephen B. Rose, Ind. Sub-Agent for Utah T.; James Loan, [Merchant;] W. H. Hooper, [Do.;] Geo. P, Styles, Associate Justice S C. U. S. for Territory of Utah; T. S. Williams, [Merchant;] John Needham, [Do.;] Wm. Bell, [Do.;] Charles G. McLure, [Forage Master U. S. A]

Yr ydym NI yma yn ardystio fod yr uchod yn adysgrif gywir o'r Ddeiseb gyda'r enwau cyssylltiadol, ac yn cael ei hanfon i'r Llywydd Franklin Pierce, heddyw, Rhagfyr 31, 1855.

THOS. BULLOCK, G. S. L. Co. Recorder,
LEO. HAWKINS, Clerk.

## ARIAN-DY.

Arian yw *duw* y byd, eithr dylai 'duw y byd' fod yn ufydd *was* i'r Saint Gofynir cyfrif gan y naill a'r llall, ai eu gwasanaethu eu hunain, y byd, ynte gwasanaethu Duw a wnaethant â'u cyfoeth; a chan fod y canlyniadau o hyny yn cyrhaedd i'r byd nesaf, *braint* yw cael cyfarwyddyd pa fodd i gael y llôg mwyaf am arian, nid yn y byd hwn yn unig, eithr y modd i barhau a chynnyddu y llôg hwnw wedi y darfyddo arian bathol. Na ryfedder at ein hawgrym, canys, cyn terfynu arddangoswn nid yn unig arian-dŷ lle na ddichon lladron gloddio drwodd a'u lladrata o hono—lle na ddichon tân ei losgi,—dwfr ei foddi, na holl ddrwg-ddynion byd golledu y cyfranwr iddo; arian-dŷ a dâl y llôg mwyaf oll yma, ac a barha i dalu llôg yn dragywyddol; yn yr hwn y mae pob cyfranwr yn *berchenog*, a lle y gall pob un gael pob ceiniog a geisio yn ol pan y myno, ac fel y dewiso. Arian-dŷ yw hwn na thorra yn dragywydd, canys ei berchenog a bïa holl fwn-gloddiau y byd, a Brigham Young yw enw ei brif drysorydd. Teyrnas Dduw yw yr arian-dŷ sicraf oll yn gymmaint ag mai Teyrnas Dduw a faluria holl deyrnasoedd y byd—mai iddi y cesglir holl "olud y cenedloedd," "a'i heolydd hi a balmentir ag aur pur." Dyma le diogel i drysori cyfoeth. Cyfaddefa pob crefyddwr fod ei gadwedigaeth ei hun yn ymddibynu ar ei ymroddiad cyflawn o hono ei *hun*, gorff ac enaid, i deyrnas Dduw, ac, y mae ei ymroddiad yn gyfaddefiad o'i grêd mai dyna yw y fan mwyaf diogel i'w gadw ef; pe cadwai efe ei gôd tuallan i'r fan ddiogel hono, achosai hyny ysgariad rhyngddo â'i gôd. Os nad yw y fan lle yr ymddirieda efe ei gorff a'i enaid yn ddigon diogel i gadw ei gôd hefyd, yna mae ei gôd gymmaint gwerthfawrocach yn ei olwg nag yw ei gorff a'i enaid ag yw ei awydd yn fwy am le diogelach i'w gadw! Gan fod y galon lle mae y trysor dylai y dyn a'i gôd fod gyda'u gilydd naill ai i mewn neu allan o deyrnas Dduw, er mwyn cyssondeb. Hefyd dylai yr hwn a ddysgwylia fwynhau golud *sylweddol* yn y nef; ïe, *aur arian*, perlau a choronau, fel y desgrifia y Beibl gysylltiad ei gyfoeth â theyrnas Dduw yma fel ei hunan, er cael mwynhau ei gyfoeth lle y bydd ef ei hun pryd hyny; canys, nid cyssonach i'r dyn a wrthoda fyned ei hunan i deyrnas Dduw yma gael myned i

mewn iddi yno, nag a fyddai iddo gael ei gyfoeth i mewn ato yno ar ol gwrthod ei gyssegru i mewn i'r un deyrnas yma. Yr un mor briodol hefyd y dywedir na etifedda neb yn nheyrnas Dduw ond yn ol yr hyn a adeilada o honi—"yn ol ei weithredoedd yn y cnawd," yr hyn a arddengys yn eglur mai dyledswydd y Saint yw defnyddio eu holl gyfoeth, yn ogystal a'u hamser a'u talentau, a'r oll a feddiant, i adeiladu y deyrnas yn yr hon y dysgwyliant fwynhau eu hunain a'r oll a ddysgwyliasid byth fwynhau yn dragywydd.

Ond, medd ambell gybydd, yr wyf yn foddlon i gyfranu fy eiddo er adeiladu teyrnas Dduw yma, ond i mi fy hun gael eu defnyddio fel y dewiswyf, eithr ni allaf eu hymddiried i arall rhag ofn eu colli. Wel, os na ymddiriedi drefniad dy arian i'r hwn yr ymddiriedi achubiaeth dy enaid i'w gynghorion, dyna yw prisio dy arian yn fwy nag y prisi dy enaid, dyna'r cwbl! Mae ewyllys rydd gan bob dyn i ymddiried ei arian a'i enaid—y naill neu y llall, y ddau neu yr un, fel y dewiso; ac yn ol yr un egwyddor y caiff ei dâl; eithr ein pwnc presennol yw, pa fodd y caiff pob un fwyaf o les iddo ei hun oddiwrth ei arian? Atebwn, mai trwy wneuthur y defnydd goreu o honynt, a dyma yw y cwestiwn mawr gyda holl arianwyr y byd. Mae y diffyg ymddiried sydd yn y byd yn gorfodi arianwyr i ofyn meichiafon galluog; ac ar y goreu ofna llawer ollwng eu gafael o'u harian, rhag ofn na welant byth mo honynt wed'yn; ac yn wir pethau bach llithrig iawn ydynt.

Ceisiwn ateb y cwestiwn hwn a dangos i'r byd a'r Saint pa fodd y gallant ddefnyddio eu harian ar lôg parhaus, heb berygl o golli ceiniog o honynt byth! Pa fodd? Wel, mae dosparth o'r arian-dŷ didwyll hwn wedi cael ei sefydlu yn Liverpool, a'r Llywydd F. D. Richards yw ei brif oruchwyliwr yn bresennol; derbynia bob swmiau o bunt hyd a ddewiser—tala lôg da, a cheir yr arian yn ol un amser ar ol yspaid tri mis, a dyry holl deyrnas Dduw yn feichiau, a Brigham Young yw gwr ei ddeheulaw. Dyma'r arian-dŷ y cyfeiriwn ato, ac y crefwn ar bob perchen punt ac uchod i gyfranu iddo gyda brys. *Dyledswydd* y sawl a fedd arian a allant hebgor yw hyn, a'r peth goreu a all ymfudwyr wneyd yw anfon eu punnoedd iddo fel eu cesglir, hyd nes y caffont ddigon i'w cludo, ac felly, byddant yn barod iddynt: ni thwyllwyd un hyd yn hyn, ac ni ddichon chwaith

fethir i deyrnas Dduw fyned yn *fankrupt*. Mae i'r arian-dŷ hwn ei gangenau drwy'r holl fyd, ac yn wir ymddengys ei ddefnyddioldeb mor eglur i ni fel y dymunem fod yr holl Gymry yn cael cangenau o hono hefyd. Erfyniwn sylw Llywyddion Cynnadleddau at y peth, a charem glywed eu doethineb am ei drefniad, &c. Dywedasom mai *dyledswydd* y sawl a feddant arian mewn arian-dai, neu gyfoeth yn ngwasanaeth marsiandwyr Babilon, yw eu hymddiried hwynt i'r rhai sydd yn adeiladu teyrnas Dduw; ac os felly, pechod yw eu gomedd. Os yw arian y Saint yn achosi iddynt bechu, melldith ac nid bendith ydynt iddynt, ac felly mae hunan-iês yn eu cymhell i ymholi pa fodd y troant hwynt i fod o fendith.

Gall pob un ddarlunio iddo ei hun y defnydd a wneir o'r arian a fenthyca efe i adeiladu Babilon;—gwel ei lygaid o'i amgylch anghyfiawnder, gormes, meddwdod, lladradau, a phob rhyw o bechod; syfrdanir ei glustiau â chabledd a rhegfeydd cymmysgedig â gruddfanau gweddwon ac amddifaid gormesedig, a phan laesâo ei galon yn nghanol y gloddesta, y balchder a'r anlladrwydd a'i hamgylchyna, dywedod wrtho ei hun,—myfi yw un achos o hyn oll—mae fy arian i yn cario hyn oll yn mlaen! Troed o'r olygfa hon i chwilio am dduwioldeb, lle y proffesir ei bod, a pha beth a wêl? Allorau uchel, aml a gwych, mae'n wir, a'u hoffeiriaid ar frasder ei aberthau ef ei hun yn ymgeeru yn mhob pwnc braidd, etto, uno oll i regu a melldithio y Seion hono a'i hoffeiriaid yn unig a deilyngent ei gymhorth ef, ac yn gormeeu ei frodyr anwyl ef ei hun. Pa fodd y teimla y sawl a wêl ei gyfoeth yn cael ei ddefnyddio i'r dybenion hyn? Pa ryfedd fod y Saint a wyddant well nâ gwneyd hyn yn colli yr arian a fenthyciant i adeiladu Babilon? Ac onid hysbys fod dydd ei chwymp hi oll gerllaw; y daw mor ddisymmwth â "chwympiad maen melin i'r môr," pan y gwaedda ei marsiandwyr a'i mhawrion o hirbell eu bod wedi colli eu holl gyfoeth ynddi, os nad eu hunain hefyd. Pwy a gwyna i'r Saint hyny a'u llygaid yn agoryd i hyn a ddewisant yn hytrach adeiladu Babilon nâ Seion, pe cyffelyb fyddai eu tynghed? Ond digon ar hyna, newidiwn yr olygfa, a gweled pob un y daioni a allo wneuthur i lanw *picture* gogoneddusach. Pe rhoddai yr holl Saint yr arian a fenthycant i ddwyn oddiamgylch ddrygau y byd, i law y Llywydd Richards, gallnogid

ef i anfon miloedd yn flynyddol o dlodion i Seion, lle y caffant nid yn unig waredigaeth o ormes, tlodi a dyoddefiadau, ond lle y gallant hwy a'u heppil gael eu hyfforddi yn nghyfraith yr Arglwydd,—eu gwala o bob trugareddau, a chynnorthwyo i adeiladu Seion gyda buandra. Onid llawer mwy pleserus fydd clywed bendithion y rhai a waredwyd drwy eich harian chwi pan grynhoant wrth y cannoedd neu filoedd o'ch hamgylch yn Seion, ar eich pen chwi a'ch plant ar eich hôl, na rhoddi eich harian i borthi plant Babel i'ch melldithio yn eich gwyneb; onid mwy dedwyddol wên y nef yn y fath ddefnydd o'ch arian nâ dyoddef cydwybod yn rhuo fel arthes wedi colli ei chenawon, gan ddywedyd, "Tydi yw y gwr a wnaethost y drwg hwn." Darlunied pob un iddo ei hun y lles annrhaethol a ellid ddwyn oddiamgylch drwy iawn ddefnydd o'i arian, a chyfrifed y llôg a gaffai os gall gael digon o ffigyrau i ddangos hyny.

Nid i ymfudo y Saint yn unig y gellid defnyddio yr arian, eithr hefyd i anfon defnyddiau na cheir yno i adeiladu ac addurno Teml yr Arglwydd, i adeiladu a chadarnhau y Seion hono lle yn unig y gallant eu hunain, a neb arall, gael gwaredigaeth rhag y cleddyf, y newyn, yr haint, a'r gyflafan a fedant drigolion y byd megys medi glaswellt y maes. Amlwg weithian, mai *dyledswydd* pob un a ddysgwylia etifeddu lle ac enw yn Seion yw dadwreiddio ei hun, a chrynhoi ei arian a'i gyfoeth o Babilon gyda brys, a'u defnyddio i adeiladu teyrnas Dduw, a gwyn fyd a'i gwnel.

Etto, meddwn, mae nid yn unig yn *ddyledswydd* arnynt wneyd ac yn bechod i beidio eithr y mae *hunan-les* yn cymhell hyn ar lawer ystyriaeth:—1af. Mae eu lles hwy yn hunaniaethol a chynnydd Seion. 2il. Bydd eu harian yn sicrach nag yn un o arian-dai y byd; ni thora hwn fel y gwna ereill ag y colla llawer yr oll a feddant drwy hyny, eithr byddant ddiogel iddynt, ac ar gael pan eu gofynir. 3ydd. Caffant lôg o'r arian-dŷ hwn fel o unrhyw un arall, a chadarnach meichiau nag a ddyry un arall.

Gofyned pob un a honna hawl i deyrnas Dduw iddo ei hun, beth yw yr achos o'r holl alwadau taerion a wna llywyddion yr eglwys yn Seion am gynnorthwy arian yr holl Saint yn y dyddiau hyn? Pa beth a'u symbyla i'r ymroadau diflino, ac i'r egni digyffelyb a wnant yn awr er cadarnhau ac estyn

cortynau Seion, a chasglu ei phlant adref gyda y fath frys? Onid yw yr holl ymdrech a wna ein *Gwyliedyddion* yn dweyd mewn uwch llais na bloedd angel, eu bod hwy yn rhag weled dynesiad y dydd drwg; ac oni ddylai eu gweithredoedd hwynt, ynghyd a gorchestion y Llywyddiaeth Brydeinig yn gosod pob gallu i gyd-dynu yn y rhaffau hyn, orfodi pob un o'r rhai a ddysgwyliant gyd-etifeddu y lles o hyny i gyd-weithio â hwynt yn hyn â'u holl alluoedd? Ac onid yw eu *hesiamplau* hwy yn profi galwad ar eu holl blant, nid i gyssegru eu hunain yn unig, ond yr eiddo a fenthycodd Efe iddynt i gyflawni ei fwriadau Ef? Yr hwn a gryfhâ eu breichiau hwy yn hyn, yn unig a fwynha olud o barhâd, a dyma'r unig ffordd a wyddom am dani i ddal gafael yn y golud a feddir—ni wyddom am un ffordd arall i'w iawn ddefnyddio—i gael llôg sicr a mwynhâd tragywyddol o hono.

Pa un o'r Saint na ddewisai weled ei arian yn cael eu treiglo i adeiladu teyrnas Duw yn hytrach nâ'u gweled yn nwylaw y drygionus yn adeiladu teyrnas y gelyn; a phwy na ddewisa fedi o ffrwyth llafur felly fywyd tragywyddol, nag, wedi treilio ei oll fel arall, i dderbyn gwobr anghyfiawnder? Wel, ceir gweled ar fyrder, canys os ydym wedi gallu dangos y filfed ran o'r rhagoriaeth yn y sylwadau hyn, dysgwyliwn glywed sŵn arian y Saint yn treiglo tua Swyddfa yr "*Arian-dŷ anffaeledig*" hwn! Dim llai a'm boddia; hyd hyny ni chredwn ein bod wedi cael ein deall, a threiwn ddweyd yn eglurach o hyd!

---

## GALWAD AM WEITHWYR I WINLLAN DUW.

*Aberystwyth, Ebrill* 29, 1855.

Anwyl Frawd Jones,—Dymunaf arnoch i chwilio am ddyn da i ddyfod yma ataf, os gallwch ryw fodd; gall gael lleoedd da i bregethu, a digon o wrandawwyr. Y mae yma filoedd o drigolion heb un Sant yn eu plith. Pregethais y Sul diweddaf i gannoedd o bobl mewn lle a elwir Talybont, yr hwn le a gynnwysa lawer iawn o drigolion, ac heb un pregethwr Saint yn byw yn eu plith. Pan yr oeddwn yn eu cymhell i ufyddhau, yr ateb oedd ganddynt "Nid oes neb o honoch yn aros yma gyda ni." Mae y gwaith yn fawr, ond y gweithwyr sydd an-

aml. Nid ydym ond dau henuriad ac un athraw yn y lle hwn, ac nid oes un arall yn nes i ni nâ 14 o filltiroedd. Y mae yma ddigon o waith i'w gael pe denai rhai o'r brodyr iddo; y mae fy ngweddi hwyr a boreu ar Dduw am eu gweled yn dyfod ar frys. Yr ydym oll yn iach ac yn mwynhau Ysbryd Duw.

Eich brawd yn y Cyfammod Newydd,

THOMAS JONES.

---

UN ARALL ETTO.

*Pentref Berw, Môn. Ebrill 15, 1855.*

ANWYL LYWYDD JONES,—Yr wyf wedi dechreu traethodu yn Sir y Fôn, a rhwng hyny a'r pregethu mae yr egwyddorion yn myned ar dân trwy y lle. Y Saint a'u hegwyddorion yw testun penaf y gymydogaeth. Daeth yma ddau frawd o'r Alltwen trwy eich cynghor, yr hyn a achosodd lawenydd mawr. Y mae yma ddigon o waith i gynnifer a fynoch o *golliers*; geill rhai gael gwaith yn Nghaergybi ac Amlwch, ac mewn amryw fanau ereill yn y Sir hon. Wrth bob argoelion a welir yn awr gwnawn fedyddio cyn hir; beth bynag, dyna ydyw ein taer weddi beunydd. Mae y Saint yn Nghaernarvon mewn undeb da, ac ysbryd cariad yn llanw eu calonau; ac yr wyf ion u rhwng pobpeth yn teimlo yn ddedwydd.

Chwilio am waith i ereill oedd eich cynghor i mi: yr wyf wedi cyflawni hyny, ac etto yr wyf wrth eich ewyllys, canys gwn mai hyny yw ewyllys Duw.

Eich brawd gyda'r gwaith goreu,

WM. LEWIS.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MAI 12, 1855.

Y GWIRFODDOLIAID.—Hyderwn y bydd i alwadau taerion y brodyr o Sir Fôn, Aberystwyth, &c., yn y rhifyn hwn, ein

cynnorthwyo i ddeffroi gweision Duw trwy y deheu i weled eu dyledswydd o fyned allan i'r winllan, ac yn enwedigol dysgwyliwn i Lywyddion y Cymanfaoedd a Llywyddion y Canghenau alw sylw y swyddogion hyny a allant fyned allan i bregethu at y ddyledswydd arbenig hyny ar frys. Mae y tywydd yn awr yn claearu, fel y gellir pregethu allan a chael chwaneg o wrandawwyr nag a ddeid mewn tai yn y gauaf, ac o hyn i'r cynhauaf yw yr amser hawddaf gan y wlad i ddyfod i wrando. Frodyr, "prynwch yr amser oblegid y dyddiau sydd ddrwg!" Mae Duw yn galw yn daerach arnoch i amlygu ffordd y bywyd i'ch cyd-ddynion eleni nâ llynedd, ac yn dysgwyl mwy o hunan-ymwadiad, sêl ac ymroad, o gymmaint ag fod rheffynau anwiredd yn rhwymo y bobl yn dŷnach dŷnach, ac yn gymmaint ag fod awr ei farn ef yn dynesu.

Mae galwadau taerion o'r gogledd, Sir Benfro, Meirionydd, ac Aberteifi, am gymhorth i fedi y maesydd helaeth sydd o'u hamgylch eisoes yn gwynu i'r cynhauaf mawr. Chwi fedelwyr y prif winllanydd! na throwch glust fyddar at eu llef, eithr hogwch eich crymanau ar frys, ac fel y gweddai i weithwyr ar yr "unfed awr ar ddeg,"—ewch yn ewyllysgar a medwch, a chesglwch eich ysgubau gyda chwi i'r ysgubor gyda llawenydd, cyn yr arllwyso y cymylau duon a grogant uwch eich penau y gauaf dinystriol.

Diolchwn i Evans a Giles am y rhai a enwasant, goreu po cyntaf y cychwynant i'r maes; galwent heibio yma a chânt y cyfarwyddiadau a feddwn; ac ymdrechent hwy a phawb ereill ddylanwadu ar ereill i'w dilyn mor fuan y bo modd. Dywenydd genym hysbysu fod ein ffyddlon frodyr Morgans a Davies o'r Alltwen eisoes yn Sir y Fôn, ac yn selog yn y gwaith da hwn, ac aeth tri o frodyr ereill yr wythnos ddiweddaf drwodd yno ar eu hol. Yr Arglwydd grasol a fendithio y brodyr hyn, a'u cadwo rhag y drwg, ac a'u gwnelo o fawr fendith lle yr elont. Mae yr Henuriaid D. Davies a James J. Phillips hefyd wedi myned i Sir Gaerfyrddin, a dymunwn ar yr hynaws frawd Thomas Griffiths o Sir Frycheiniog, i fyned i lafurio yn Nghynnadledd Meirionydd mor fuan y caniatâ amgylchiadau. Gadewch i ni glywed oddiwrth y brodyr a addawasant er ys tro yn ol i fyned allan; pa bryd y byddant barod i gychwyn, &c.

Frodyr, teimlwn fwy o bwysigrwydd y gwaith nac erioed, a'r perygl o'i esgeuluso; mae pob peth o'n hamgylch yn dangos hyn, a'r hwn a'i pïa a ddeffro bawb i gyd-weled yr angen sydd am rybuddio y wlad, ac a roddo yn nghalonau ein brodyr i wneuthur hyny. Mae digon o waith i'w gael mewn gwahanol barthau o'r wlad lle nad oes neb yn pregethu yr efengyl, eithr mawr angen hyny. Ystyried y rhai a ddylent wneyd hyny eu cyfrifol deb yn brydlon.

---

## GWRTH-BROFION CYHUDDIADAU "GWRTH-FOR-MONAIDD!!"

*(Cyfieithad o'r hysbys len.)*

Y MAE Mr. Short wedi fy ngyhuddo o anwiredd drwy i mi wadu ddarfod i mi dderbyn ei hèr i ddadleu y tri phwynt a enwyd ganddo. Mewn atebiad cynnygiaf y tystiolaethau canlynol o blith amryw sydd genyf yn ol:—

Yr ydym NI yn ardystio i Cadben Jones ddywedyd wrth Ddirprwywyr Mr. Short, ar y 3ydd o Ebrill diweddaf, ei fod ef yn derbyn yr hèr i ddadleu egwyddorion Saint y Dyddiau Diweddaf yn unol a'i ammodau cyntaf ei hun; eithr iddo hollol wrthod dadleu y *tri phwynt* a gynnygiwyd ganddynt hwy; iddo gyduno i gyfarfod â Mr. Short yn bersonol pan y dychwelai o Lynlleifiaid, i nodi yr egwyddorion a ddadleuai arnynt, Cydsyniodd y ddirprwyaeth â hyn cyn eu hymadawiad.—*Thomas Jones, Benjamin Jones, Llanelli, John Walters a William Lewis, Abertawy.*

Yr wyf wedi cyfaddef, ac heb erioed wadu, ddarfod i mi dderbyn yr hèr i *ymddadlu;* eithr gwadais, a gwadaf bob amser i mi gymmeradwyo eu *pynciau.* Gwyddai Mr. Short, neu gallasai wybod, y ffaith hon oddiwrth ei genadon ei hun, pan hèriodd fi o flaen y cyhoedd yr hwyr canlynol! Y ffaith i mi gyfarfod a Mr. Short wed'yn a brawf y rhan flaenaf; yr un ffaith a wrth-brofa yr *olaf* hefyd, yn gymmaint a bod pob materion ereill, oddieithr y rhai blaenaf, yn ymorphwys ar y *Committees* i'w trefnu. Ni allasai fod un anghenrheidrwydd arall ar Mr. Short a minnau i gyfarfod ond i gyduno ar y pynciau a ddadleuid; gan hyny, cyn belled ag y perthyna yr

*her*, ni allaf fod wedi dweyd anwiredd. Etto mewn cyssylltiad â'r *penau:* er i ddirprwywyr Mr. Short haeru yn bendant (yn ol y "Swansea Herarld" am y 25ain o Ebrill diweddaf.) fy mod wedi *cymmeradwyo y tri phwynt*, etto yn ei Hysbys len ni "faeddant" haeru yr unrhyw, ond "ymhocedu" â'r geiriau aneglur canlynol, a'r fath ag sydd wedi hynodi eu holl ymddygiadau, a'm gwrthwynebiad i ba rai a alwant yn hocedwaith," sef trwy fynegu "nad ymorphwysodd gysgod o ammheuaeth ar eu mheddyliau o'm cymmeradwyaeth." Sylwer! "o'm cymmeradwyaeth;" pa bryd, ai yn y mynedel? neu a oeddynt ddim yn ammheu y cymmeradwywn hwynt yn y dyfodol; pa un? Os y diweddaf, yna eu haeriad (yn yr "Herald" am Ebrill 5) a'u cyfarfyddant. Os y blaenaf, gwna y pedwar uchod, a'm hunan, ynghyd a ereill a enwir isod, eu gwrthbrofi: pa ffordd bynag yr hocedant y maent rhwng deugorn cyfyngder, ac fel Haman yn *hunain-ddyrchafedig*. "Pan y gwna dynion hocedu fel hyn y mae tynghed a'u condemnia hwy i syrthio i'r fagl hon o anghysondeb." Bradycha y ffordd ddichellgar hon o "hocedu" fwriad dwfn i euogi y diniwed, yr hyn a raid deilyngu anathema y cyhoedd deallus.

Ardystia y personau canlynol y rhai ydynt foddlon i *dy-gu* ddarfod i un o'm cyhuddwyr, sef Mr. William Morris, eu hysbysu hwynt ar ol ymweliad y ddirprwyaeth â mi, fy mod i wedi gwrthod y tri phwynt a gynnygiwyd y pryd hwnw.—*Dewi Elfed Jones, Daniel Daniels, John Walters, a Thomas Harries, Abertawy.*

Mewn gwrthbrofiad o'r cyhyddwr arall, sef Mr. Richard Morris, nid ymhelaethaf yma, ond talfyriad o'r dystiolaeth a ganlyn:—

Yr ydwyf FI, Benjamin Griffiths o Lanelli, Sir Gaerfyrddin, trwy hyn yn tystio ddarfod mewn ymddyddan â Mr. Richard Morris, i'r cyfryw Richard Morris roddi ar ddeall i mi, ddarfod mewn ymweliad a gafwyd gan ddirprwyaeth *(committee)*, o ba un yr oedd efe yn aelod, a apwyntiwyd i wneuthur trefniadau gogyfer â dadl gyhoeddus rhwng Cadben Jones a Mr. C. Short, i Cadben Jones, ar y cyfryw ymweliad, *wrthod dadleu y tri cynnygiad* a gynnygiwyd gan Mr. Short.—*Benjamin Griffiths.*

Hyderaf yn ddiammheuol fod y tystiolaethau uchod, yn gyssylltiedig â haeriad Mr. Short, fy mod yn gwybod nad oedd

genyf ond *un* tyst, a bod *hwnw yn un o'm plaid i fy hun*, (!) ac yn ngwyneb yr hyn a ddiangodd dros wefusau ei Barchedig Ddirprwywr, yn ol yr *Herald* am Ebrill 11, iddo fy ngael [pan ar yr ymweliad a nodwyd] wedi fy *amgylchynu* gan fy nghyfeillion, —yr holl bethau hyn yn ddigonol i orfodi y cyhoedd deallus i'm rhyddhau i oddiwrth y cyhuddiad uchod, ac i'w osod lle y perthyna yn gyfreithlawn.

Cyfaddefa Mr. Short nad yn erbyn fy mhyngciau y mae ei wrthwynebiadau, eithr yn erbyn fy unig safon.—y *Beibl*, trwy ddywedyd yn ei Hysbys len ei ddymuniad i ddadleu ar "Lyfr Mormon," wedi iddo ddarllen fod yr un pwnc wedi cael ei gynnyg genyf i; -cynnwysir yr hyn a eilw yn "Honiadau Joe Smith" yn fy ail bwnc, ac yn lle y "Natur Ddwyfol," fel y geilw hi, yr oeddwn wedi cynnyg y "Duwdod;" am y "Gyfundrefn ysbrydol-wreigiaeth," cyfaddefaf fy anwybodaeth o honi; bodau *dynol* yw ein holl wragedd ni; eithr yr oeddwn wedi cynnyg "Aml-wreigiaeth." Pa beth ychwaneg a all efe ofyn? Ei amcan mae yn eglur yw i wŷro oddiwrth yr hyn yw Mormoniaeth mewn gwirionedd at aflluniau dychymygol, atgasach yngolwg y Mormoniaid nag iddo ef ei hun.

Mewn atebiad i'w wrthwynebiad i ddadleu yr *athrawiaethau* a gynnwysir yn ein llyfrau hyd oni wybydda (trwy anwireddau enllibwyr etto, bid siwr) pa un a ydynt yn "Ddadguddiadau Dwyfol neu yn dwyll *Yankeeaidd*," gofynaf, Pa fodd y gellir profi dwyfoldeb y Beibl yn well nâ thrwy yr *athrawiaethau* a gynnwys? Dymunaf hysbysu fy nghyfaill o'r hyn a ymddengys yn ddirgelwch cuddiedig iddo ef, sef, mai y prawf sicraf a all efe gael o ddwyfoldeb y Beibl yw trwy *gredu* ac *ufyddhau* i'w *athrawiaethau*, a derbyn oddiwrth ei Awdwr Dwyfol gyflawniad o'i addewidion. Cynnygia Duw y prawf anffaeledig hwn o eirwiredd Llyfr Mormon, ac ar y dadguddiad hyn, ond ar nid ystoriau "*Yankeeaidd*," yr "ymhongiana ein cyfundrefn," Mr. Short.

Mae ei gam-gymhwysiad o'r gair "*indefinite*" i awgrymu nad oeddwn *i* yn deall ei osodiadau, yn arddangosiad arall o'i awydd i *greu* anghyssondebau; tra mai un rheswm gorfodol i'w gwrthod oedd, fy *mod i* yn deall yn dda mai ei fwriad oedd i adrodd enllib a chyhuddiadau a wrthbrofwyd lawer gwaith o'r blaen, yr hyn a brofir yn rhy wirioneddol gan ei gyfaddefiad

yn ei Hysbys-len ddiweddaf, mai ei brofion ydynt chwedlau "gwrthgilwyr," a thrwy y fath frawddegau anghrefyddol a "Thwyll *Yankeeaidd,*" "crug o afresymoldeb ac anfoesoldeb," "cabledd," &c. Mewn gair, ma eyn ddiammheuol genyf y ffieiddiai pob bonedd wr i ddadleu ei grefydd santaidd gydag awdwr y cellweiriau, llysenwau, a'r gwawd o bethau santaidd sydd yn ei hysbys-len—ei gam gyhuddiad gwarthus presennol o anwiredd, a'i haeriad digywilydd yn y cyhoedd, fod fy "*ngweithredoedd* i yn achosi i angylion wylo, ac i ddynion a a benywod i gywilyddio!! Cywilyddiai Cristionogaeth i glywed y Beibl yn cael ei wrthod, ac oraclau cyssegredig yn cael eu pwyso yn nghlorianau y fath enllibau a gynnygiai anffyddwyr yn absennoldeb y gwirionedd, yn erbyn yr efengyl.— hònai dynoliaeth ddystawrwydd diystyrllyd bawb dynion da ar y fath ffolineb. D. JONES.

---

## CYMMANFA ORLLEWINOL MORGANWG.

CYNNALIWYD y Gymmanfa uchod yn Neuadd y Saint, Heol Orange, Abertawy, Ebrill 22, lle yr oedd ymgynnulliad y Saint yn lliosog a siriol. Cynnaliwyd tri chyfarfod yn ystod y dydd Wedi byr annerch y Saint yn gyfunwedd â'u sefyllfa a'u hymdrechiadau yn ysbaid y tri mis blaenorol, gosodwyd gerbron Awdurdodau yr Eglwys. Ymgyfammodwyd yn unfrydol i'w dàl i fyny. Amlygwyd hyny gyda theimladau hyfryd a ddyddorol. Prydnawn a'r hwyr cawsom ein bendithio â phregethau nerthol a bywydol y Llywyddion Cadben D. Jones, C. H. Wheelock, J. D. Ross, a W. C. Dunbar.

Yr oedd y Neuadd yn fwy nâ gorlawn o wrandawyr, a channoedd allan yn awyddus i wrando. Er pan mae y bleiddiaid yn y Dref hon wedi ymuno i ysglyfio praidd Duw, mae y Saint yma ar gynnydd buan, a'r holl le yn un goddaith tanllyd o gynhwrf, ac yn ferw cruchias a gwyllt yn herwydd "Saint y Dyddiau Diweddaf." Yr ydym yn bedyddio yn nghanol y rhyfel, a chenym filiwn nertholach darnau nâ'r "*Lancaster Guns*," yn ergydio bwledi *gwirionedd* yn erbyn y gau, nes dryllio caerau cyfeiliornadau yn chwilfryw; ac y mae uchel lywyddion byddinoedd anghrist mewn dyryswch, wedi eu tôi gan gywilydd a gwarth.

Y gwir sy'n ymlid y *gau*
I d wyllwch o'i holl dyllau.

Y cynnrychioliad am y chwarter sydd fel y canlyn:—Arch. Off. 1, Hen, 76, Off. 34, Ath. 21, Dia. 19, ymfudodd 9, bu farw 1, bedyddiwyd 25.—Cyfanswm 481.

Yr eiddoch yn serchus fel arfer,
DEWI ELFED JONES. *Llywydd.*
A. L. JONES, *Ysgrifenydd.*

---

## CYMMANFA LLANSAWEL.

CAFWYD caniatâd gan un Mr. Pritchard i gynnal y Gymmanfa uchod yn y *Town-Hall*, Llansawel, Ebrill 15. Dechreuwyd y cyfarfodydd am 11 y boreu, am 3 y prydnawn, ac am 6 yn yr hwyr. Er mor helaeth oedd y lle, etto yr oedd yn orlawn o wrandawwyr drwy y dydd. Pregethwyd yn y gwahanol gyfarfodydd gan yr henuriaid canlynol:—B. Jones, Llywydd Cynnadledd Llanelli, B. Evans, Llywydd Cynnadledd Aberteifi, Thomas Jenkins, Llywydd Cynnadledd Caerfyrddin, J. Evans, Caerfyrddin, James Jones, Llangadog, John Evans, Penywern, J. Edmunds, Llandeilo, ac Evan Morgan, Brachfa. Pregethwyd yn dda i wrandawwyr astud, ac fe ddangosodd y gymmydogaeth garedigrwydd mawr ar yr achlysur. Gwahoddwyd wyth i giniaw gan amaethwr parchus, o'r enw Mr. James, ond nis gallasem i ychwaneg nâ phump i fyned, o herwydd fod ereill ar yr un egwyddor garedig. Rhoddodd Mr. Williams, *Red Lion*, letty yn rhâd i amryw. Mewn gair, yr oedd y nerth rhyfeddol a gafodd y pregethwyr, lliosogrwydd y gwrandawyr, a'r caredigrwydd mawr a ddangoswyd yn llawenhau ein calonau yn fwy nas gallwn ei ddesgrifio, a'n gweddi daer yn bresennol yw, ar i'r Duw yr hwn bïa'r gwaith, i fendithio pawb am eu caredigrwydd, ac i lwyddo ymdrechiadau ei weision er tueddu lluoedd i ufyddhau i'w drefn, fel gallont fwynhau y bendithion a addawwyd iddynt.

Yr eiddoch, &c.,
T. JENKINS.

---

# MYNEGIAD

*O'r llyfrau ar werth yn* "Swyddfa Udgorn Seion," *Abertawy, yn nghyd a'u prisiau i Ddosparthwyr Cynnadledd au a Changenau.*

*Llyfr Mormon*, yn rhwym 4s;—4s 3c.

*Athrawiaeth a Chyfammodau*, yn rhwym 3s;—3s 3c.

*Llyfr Hymnau*, rhwymiad harddaf 2s 3c;—3s 5c.

Etto, yr ail oreu 2s; 2s 2c.

Etto, o groen llo cryf 1s 9c;—1s 11c.

*Udgorn Seion*. Cyf. I—IV, yn rhwym 3s yr un. Cyf. V., 1s 10¾c. Cyf. VI., 2s. Cyf. VII., 2s 10¼c, heb eu rhwymo.—Elw o 1 rhifyn o bob 20 i'r Cangenau.

*Prophwyd y Jubili*, Cyf. III., heb ei rwymo 2s;—2s.

TRAETHODAU O WAITH CAPT. JONES.

*Yr Eurgrawn Ysgrythyrol*, yn rhwym 3s;—3s 2c. Heb ei rwymo 2s 4c;—2s 5c.

*Pwy yw Duw y Saint*, y cant 17s 6c;—19s 10c.

*Yr Hen Grefydd Newydd*, y cant £1 18s;—£2 6s.

*Annerchiad*, y cant 10s;—11s 6c.

*Gwrthbrofion i'r Spaulding Story am Lyfr Mormon*, y cant 14s 2c;—15s 10c.

*Anmhoblogrwydd Mormoniaeth*, y cant 6s;—7s 6c.

*Yr Arweinydd i Seion*, y cant 11s;—12c.

*Pa beth yw Mormoniaeth*, y cant 3s;—3s 9c;

*Pa beth yw Grâs Cadwedigol*, y cant 3s 6c;—3s 11c.

*Tafleni Cyfrifiadol*, 3c yr un.

*Gwahoddiadau i unrhyw le*, y cant 1s 10c;—1s 11c., (ond erchi dim llai nâ 300).

TRAETHODAU O WAITH JOHN DAVIS.

*Llyfr yr Eglwys*, yr un 11s.

*Yr Hyn sydd o Ran, &c.*, y cant 6s;—7s.

*Epistol Cyffredinol cyntaf*, y cant 6s 6c;—7s 6c.

*Traethawd ar Wyrthiau*, y cant 6s;—7s.

*Traethodau ar Wyrthiau*. Rhif. 1—6, y cant 6s;—7s.

*Pregethu i'r Ysbrydion yn Ngharchar*, y cant 5s 6c; 6s 6c.

*Ewch a Dysgwch*, y cant 1s 8c;—1s 10c.

*Ymddyddanion*, y cant 2s 9c;—3s.

*Profwch bob peth*, y cant 2s 9c;—3s.

| | |
|---|---|
| *Dyddiau Noah*, y cant 2s 9c;—3s. | Caneuon. |
| *Parchedig a'r Bachgenyn*, y cant 1s 10c;—2. | |
| *Tystiolaeth y Sant*, y cant 1s 8c; –1s 10c. | |

*Yr Achos Mawr Cyntaf*, yr un ½c;—¾c.

*Darlithiau ar Ffydd*, yr un 3c;—3½c.

*Y Casgl*, yr un 2s 11c; - 3s 2c.

*Perl o Fawr Bris*, yr un 1s;—1s 1c.

*Adolygiad ar lyfr W. Jones, Bethesda*, y cant 8s 6c;—10s 6.

*Dialouge between Reverend & Boy*, y cant 3s;—3s .0c.

*Dwy Gân N. Ddu*, y cant 2s 9c;—3.

*We'll see Joseph Smith & Hyrum*, y cant 2s 9c; 3s.

*Trwyddedi Addewdai*, 3c un. Etto, i bregethu, 4c yr un. Etto, Eglwysig, 2c yr un.

*Dangosiad Aelodiaeth*, yr un 1s 10c;—2.

☞ Dealler mai y pris *cyntaf* sydd i'r prif, a'r *ail* i'r is-ddosparthwyr.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Hysbysir y Llywydd Richards fod cangenau o'r Eglwys wedi eu sefydlu yn Mexico, yr oedd ganddynt i fedyddio yn y gwanwyn. Er fod tywyllwch dudew yn amdoi y wlad, a bod dynion wedi syrthio i drwmgwsg, ymhola llawer am y ffordd i fod yn gadwedig. Nid llai dyddorol yw y newyddion o Benrhyn Gobaith Da, lle yr oedd cymmaint o wrthwynebiad yn y dechreuad. Mae eu nifer yn bresennol yn 31.

*.* Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 11.] MAI 26, 1855. [CYF. VIII.

## ANNERCHIAD YR ANRHYDEDDUS LYWODRAETHWR BRIGHAM YOUNG,

*At Senedd Diriogaethol Utah, a draddodwyd Rhagfyr* 11, 1854.

FONEDDIGION y Cynghor a Thŷ y Cynnrychiolwyr:—Dan ddylanwad hynaws a gofal amddiffynfäol y nef uchel, yr ydym wedi ymgynnull yn y cyflwr o Gymmanfa Gyfreithiol, i erdeinio a sefydlu y cyfryw gyfreithiau a fyddant fwyaf gwasanaethyddol er lleshâd cyffredinol.

Llafur yr amaethwr a wobrwywyd gan gynheuaf helaethlawn, ac y mae heddwch, llwyddiant, a ffyniant wedi canlyn ein holl ymdrechiadau yn hynod.

Gwaredwyd ni oddiwrth y ffrewyllau gorlifedig ag ydynt yn anrheithio y cenedloedd, y dystrywiwr afrywiog, a'r fflam ddifâol. Gyda diolchgarwch a mawl, bydded i'n hymgeisiadau ddyrchafu o galon ewyllysgar a gwresog, at ein Tad a'n Duw, yr hwn a estynodd i ni fendithion gwerthfawr, ac a achosodd i'r ddaear ddwyn allan ei nherth er ein cynnaliaeth.

Er fod ymfudiaeth helaeth wedi cael cartref yn y dyffrynoedd heddychlon hyn yn ystod y tymmor a aeth heibio, etto mae yn gredadwy fod yma gyflawnder digonol i bawb o ymborth hyd gynheuaf arall.

Trwy ymdrechiadau diflino ein teilwng genadydd yn y Senedd, yr Anrhyd. John M. Bernhisel, mae hawliau wedi cael eu derbyn er gwneuthur "Ffordd trwy ein Sefydliadau deheuol,

ac yn ymestyn i ffin California; er dal cyfryngwriaeth â'r Indiaid; ac i dalu y draul a dynwyd wrth ddiddymu rhyfelgarwch yr Indiaid yn y blynyddoedd 1851 a 1852." Y rhai hyn ydynt yr hawliau cyntaf o'r fath a wnaethpwyd dros y diriogaeth hon. Y weithred hon o eiddo y Senedd, er yn ddiweddar, nid yw yn llai derbyniol, yn arddangos, fel y gwna, ogwyddiad i leoli Utah ar safle gyfartal â thiriogaethau ereill. Yr ydym yn ei groesawu fel argoel dda, ac hyderwn yn ol llaw na fydd ei lles i gael ei esgeuluso, na'i hawliau eu diystyru. Ymddengys fod anhawsdra i gael hawliau ar ol eu gwneyd gan y Senedd; mis ar ol mis, ac hyd y nod blwyddyn weithiau sydd yn pasio cyn y derbynir hwynt ar amser taliad. Lle mae y pellder mor fawr, a'r moddion cyflafareddiad mor derfynol, y mae yn ddymunol i weithred y Swyddfa i fod yn barodol ar y fath faterion.

Y rhagweliad presennol yw, na fydd i'r anrhegion a gyfranwyd yn yr eisteddiad diweddaf i gael eu derbyn cyn pen blwyddyn arall; y fath oediadau ydynt yn effeithioli yn feichus iawn ac yn anghyfiawn ar y diriogaeth, yn ogystal ag ar y dinasyddion, y rhai a fuont mor hir yn dysgwyl yn bruderus am gymhwysiad o'u hawliau cyfiawn.

Y cyfraniadau tuag at y Talaeth-Dŷ a'r Pennyd-dŷ ydynt oll wedi eu gwario, ac mewn trefn i gwblhau y naill o'r gweithiau hyn, gofynir cyfraniadau ychwanegol naill ai gan y deddfwyr neu gan y Senedd.

Y gweithiau yn Fillmore a gynnyddasant yn gyflym y tymmor a aeth heibio, a rhag-ddysgwylir y bydd y Talaeth-dŷ yn barod er addasiad y deddfwyr ar eu heisteddiad flynyddol nesaf.

Cadwyd heddwch â'r Indiaid yn ystod y flwyddyn, er hyny pleidiau minteuol o'r Utiaid a gafwyd yn anghyfeillgar, yr hyn mewn un enghreifft a ganlynwyd yn eu lladdiad o ddau o'n dinasyddion. Y drwgweithredwyr o'r trosedd hwn a ddygwyd i mewn gan Indiaid ereill, ag a drosglwyddwyd i fyny i awdurdodau yr Unol Daleithiau. o flaen pa rai y cawsant brawf teg, ac a gafwyd yn euog o lofruddiad, ac a ddienyddwyd yn ol y gyfraith, a rhoddodd yr Indiaid eu hunain dystiolaeth yn eu herbyn.

Mae wedi gofyn cryn ddyoddefgarwch a'r amynedd mwyaf, yn

ogystal a symiau helaeth o anrhegion ar ochr ein dinasyddion, i ddal perthynas gymmodol â hwynt. Mewn rhyw ychydig o enghraifftiau maent wedi anturio ar y dyoddefgarwch a ddangoswyd iddynt, ac wedi ymddwyn yn anmbriodol ac enllibaidd iawn tuag at y bobl. Y callineb tangnefeddus, yr hwn o'r dechreuad a ymarferwyd tuag atynt, yn ddiammheuol a attaliodd lawer o gyd-darawiadau a allasent gael eu canlyn gan ryfel agored.

Er fod llawer iawn o gig eidion, blawd, dillad, drylliau, defnyddiau rhyfel, &c., wedi eu rhoddi iddynt, i'w cymmodi a'u gwneuthur yn gyfeillgar, etto tueddfryd greulon eu nhatur, eu dullweddau diamcanus a gwael ydynt y fath fel nad oes un diwalliant, ni waeth pa mor hael, yn aros yn hir ganddynt; a'u seguryd sydd yn rhagflaenu unrhyw feddylddrych iddynt gael eu digoni o'u cymhorth eu hunain.

Y Shoshoniaid ydynt yn hytrach uwchlaw yr Utiaid, ac yn darparu yn well dros eu bywyd eu hunain, er hyny cyfran helaeth o honynt a wersyllasant ar y sefydliadau i'r gogledd yn ystod yr hâf a aeth heibio. Llawer a wnaethpwyd gan y trigolion, oddiar eu trigfaniad yn mhlith Indiaid y mynyddoedd, i wella eu cyflwr. Cafwyd hwynt yn y sefyllfa iselaf o ddiraddiaeth—tlawd, anwybodus, dioglyd a chreulon. Yn eu llidiogrwydd, nid oedd dim a'u rhwystrai, ond ofn, rhag rhedeg i'r troseddiadau gwarthusaf. Gwerthasent ac hap-chwareuent ymaith eu plant eu hunain, a dwyn oddiwrth a lladrata Indiaid ereill o'r eiddynt hwythau, naill ai i werthu, hap-chwareu ymaith, neu i ladd, fel y byddai i'w mhympwy edrych yn foddhaol iddynt. Ceffyl neu ddryll oedd yn cael ei farnu yn gyfwerth am ladd dyn; a phob cysgod o anhawsder a ddaeth yn fater cyfnewidiad am ystyriaeth o arian bathol. Y sefydlwyr yn ddigyfnewidiol a roddasant iddynt luniaeth a dillad, a'u diwallasant hwynt â drylliau, a defnyddiau i hela, ac mewn amrywiol ffyrdd wedi gweini er eu cysur. Codwyd llafur iddynt mewn llawer o lefydd, ac adeiladwyd tai i'w peneithiaid a'u prif ddynion

Mae y callineb hwn wedi cael tueddiad i ddiwygio eu moesau a'u tueddiadau gwael hwynt, a rhai prydiau i lafurio dros eu cynnaliaeth eu hunain.

Y llwybr hwn o haelioni tuag atynt, mewn ychwanegiad o

golli meddiannau gwastadol a achoswyd gan eu hanrheithiau, sydd dreth a llwyth tost ar y bobl, yn neillduol yn y lleoedd sefydledig mwy unigol a theneu, yn mha le y mae eu hymweliadau yn fwy mynych, ac yn cael eu gweini yn fwy lliosog. Gyda theimladau o ryddid, gan hyny, yr ydym ni yn edrych yn mlaen tuag at daliad y cyfraniadau presennol er dal cyfammodau gyda'r Indiaid, yn y dysgwyliad y bydd i'r bobl i gael eu sicrhau yn erbyn eu hanrheithiau, ac mewn rhan i gael eu rhyddhau o'u cynnaliaeth gwastadol.

Y Diriogaeth hefyd a ga ei had-dalu am y blaen daliad a wnaeth hi o bryd i bryd er llethiad gelyniaethau Indiaidd. Y mae yn anwadadwy fod y treuliau wedi bod lawer yn llai, na thiriogaethau ereill mewn cyffelyb gyflwr, ac y dylai gael ei chyfarfod mewn ysbryd o haelionusrwydd ar ran y Llywodraeth Gyffredinol. Ond beth bynag a fyddo y Llywodraeth yn alluog i gyflawni yn ei chwsmeriaeth â'r Indiaid, braidd y dysgwylir y bydd i Utah i gael ei hesmwythau o'u presenoldeb, —o ganlyniad, ddim i gael ei rhyddhau oddiwrth eu hanrheithiau. Y trigolion, gan hyny, a ddylasent sicrhau eu hunain a'u meddiannau gymmaint ag sydd yn bosibl, ac i fod yn barod i amddiffyn eu hunain ar unrhyw eiliad oddiwrth eu hymgyrch rhyfelgar. Pob sefydliad ddylasai gwblhau eu hamddiffynfeydd, a chynnal ymgorffoliad milwraidd bywiog a grymus. Mewn amrywiol o ffyrdd mae y bobl wedi ceisio sicrhau eu diogelwch eu hunain, ac i amddiffyn eu mheddiannau oddiwrth anrheithiau gwastadol, yn fyr i gynnal milwriaeth agored yn eu herbyn. Yr ydwyf i yn unwedd wedi dilyn yr un llwybr cyfeillgar o gallineb tuag atynt, gan deimlo yn argyhoeddedig mae yn annibynol o'r ddadl o ymarferyd dynoliaeth tuag at rywiogaeth o bobl mor isel ac anwybodus, yr oedd yn amlwg fod yn fwy gweddus, ac yn llai costfawr i'w porthi a'u dilladu, nag i ymladd â hwynt.

Y callineb a fabwysiadwyd tuag at fintai fechan, yn arferol o gyfanneddu swydd Heber gan breswylwyr y dosparth hwnw, yn eu dosparthu yn mhlith y dinasyddion, gan wneuthur detholiadau doeth i'r Indiaid, yn mha le y gallent hwy a'u teuluoedd deimlo fod ganddynt artref, a gwybod y gallant ymddibynu ar gael ymborth, diddosrwydd, a thriniaeth garedig yn gyfnewid am eu gwaith, sydd i'w weled yn effeithiol, ac os

yn y diwedd, y bydd iddo brofi yn llwyddiannus, a duedda, o leiaf, i sicrhau heddwch i'r preswylwyr, a gwareidd dra i'r Indiaid. Diau, llawer iawn o ddyoddefgarwch ac amynedd a fuasai yn ofynol i gario allan y callineb hwn, hyd y nod pe byddai i'r Indiaid foddloni i'w brofi. Pe buasai iddynt gael eu rhoddi ar waith yn gyfaddas, credir. y gwnaethent ddyfod yn llafurwyr buddiol wedi ychydig brawf. Cawsent eu talu yn anrhydeddus ac yn deg yn y fath bethau a fyddai yn eisieu arnynt, dydd wrth ddydd, yn ol eu hanghenrheidiau, hyd nes y dysgent i fod yn fwy darbodus o'u moddion. Fel pob gweithred arall o ddyngarwch mawr, hwn fyddai yn raddol yn ei effeithiolaeth, ond os y gwelir ef yn deilwng o ymarferiad, credir y gellir ei gario i effeith gyffredinol yn y diriogaeth.

Yn llawer o'r sefydliadau deheuol, mae yr Indiaid eisoes wedi dyfod yn ddefnyddiol mewn llafurwaith a busnes, ac mae nifer o blant Indiaidd i'w cael yn byw mewn teuluoedd, y rhai a'u cymmerasant i'w dwyn i fyny a'u haddysgu. Mor bell ag y mae fy ngwybodaeth yn cyrhaedd mewn perthynas i'r pwnc. y fath blant a gawsant leshad yr Ysgolion Cyffredin; y fendith hon a sicrhauwyd iddynt drwy weithrediad cyfraith.

Mae y pwnc o *Addysgeidiaeth* yn debygol o fod wedi cael cymmaint o ystyriaeth yn hon ag mewn unrhyw Dalaeth neu Diriogaeth arall newydd ei sefydlu. Braidd yn yr holl Adranau a Dosparthiadau. mae tai ysgolion gwych wedi eu cyfodi, ac ysgolion yn cael eu cynnal dros ran o'r flwyddyn, ond ofnaf nad oes digon o ystyriaeth yn cael ei dalu at benodiad ac ymholiad dysgawdwyr, neu y dull o dywys ysgolion. Er yn ddiau fod Bwrdd y rhaglawiaid gyda eu dylanwad wedi cynnorthwyo llawer, ac hyd yn hyn yn lledaenu eu dylanwad mewn fford gyffredinol i ddwyn yn mlaen achos dysgeidiaeth. etto y foment hon, nid oes *Fam Ysgol* er hyfforddiad Athrawon—Ysgol Rhifyddiaeth neu Uchel Ysgol, yn mha le mae y cangenau uchelaf yn cael eu haddysgu yn yr holl Diriogaeth, ac nid oes ganddynt un gwrthddrych o welliant y wladwriaeth dan eu nawdd mewn cychwyniad er dybenion addysgiadol. Hyn mewn rhan sydd o herwydd eisieu moddion i weithredu wrthynt, ac mewn rhan i'r ffaith, nad oes gan y Bwrdd, yn gynnnwysedig o ddynion yn rhwym mewn lliosogrwydd gorchwylion, ond ychydig amser i'w gyflwyno at y dyledswyddau hyn. Hyd yn hyn y mae

achos dysgeidiaeth wedi cael ei ymddiried gyda *y* Bwrdd, gan y Senedd, y rhai yn debygol ydynt wedi tybied eu bod hwy wedi dadlwytho eu dyledswyddau yn ddigonol, trwy iddynt urddo y Rhaglawiaid a gallu ac awdurdod i weithredu mewn perthynas â'r pwnc yna. Ond y mae yn bwnc o ganlyniad mawr, ac yn cynnwys ymddiriediadau rhy bwysig i'w hesgeuluso am unrhyw resymau a fodolant yn bresennol. Y mae yn bwnc o ddyddordeb pwysfawr i ni, ac i'n plant, y rhai yn fuan ydynt i fod ein cynnrychiolwyr ni ar y ddaear, ac a wna, os esgeulusir ef, adlamu gyda chwerwder ar ein penau ein hunain pan yn rhy ddiweddar i'w iachâu.

Fel Tiriogaeth, y mae genym *undeb*, ac y mae medr helaeth gan y bobl i sefydlu ysgolion cyffredin yn mhob Adran a Dosparth, nid yn unig tri neu chwech mis yn y flwyddyn, fel yr ymddengys yn bresennol yn fwyaf cyffredin, ond deg neu un ar ddeg, yn mha le y gall pob plentyn, ni waeth pa mor dlawd, gael derbyniad. Ysgolion Athrawon, ysgolion Rhifyddiaeth, ac ysgolion yn mha le mae y cangenau uchelaf yn cael eu haddysgu, ddylasent hefyd gael eu cadw mewn gweithrediad llwyddiannus yn yr holl brif drefydd. Mae etto yn amser prydlawn i arwain yn mlaen yr Egwyddor Newydd, yn ffurfio yr hon, y cyflawnodd y Rhaglawiaeth orchwyl trafferthus a llafurus. Yr wyf i yn cymmeradwyo iddi gael ei haddysgu yn gyflawn ac hollol yn yr holl ysgolion, yn cyduno, fel ag y gwna yn ardderchog, sail hyfforddiadol er cyrhaeddiad o'r iaith Saesneg, yn rhagori yn mhell mewn symlrwydd a rhwyddineb ar unrhyw iaith adnabyddus a fodola. Er fod y dyledswyddau uniongyrchol perthynol i r pwnc o ddysgeidiaeth yn disgyn ar y Rhaglawiaeth, etto nid yw yn rhyddhau y Senedd oddiwrth atebolrwydd, ac nid wyf yn ammheu dim na fydd i chwi roddi yn llawen, y cynnorthwy neu y dylanwad a fydd i chwi gael yn eich gallu i'w estyn.

Nis gallaf etto ymattal oddiwrth alw eich sylw at y pwnc o weithfeydd cartrefol. Y mae llawer iawn o wlan, llin, crwyn, manflew, a braidd bob amrywiaeth o'r materion goreu er gweithio dillad gwlaneni, lliain, lledr, hetiau, sebon, canwyllau, asgroling *(glue)*, siwgr, crochanyddiaeth, *castings*, i'w cael mewn digonedd, ac i'w cael yn hawdd, ac etto yr ydym yn cael llawer iawn o'r fath erthyglau yn cael eu gwerthu yn flynyddol, a'u

prynu gan y bobl, yr hyn sydd yn achosi dihysbyddiad gwastadol o'n cyfrwng cylch-fynedol. Pe buasai ychydig gannoedd o filoedd o ddoleri, y rhai yn awr a dreulir ac a gludir ymaith am nwyfau gwerthedig, i gael yn lle hyny, eu gwario mewn peirian-waith, ac erthyglau at weithiau teuluaidd, profasai lawer yn fwy llesiol a chyflym er dwyn yn mlaen lwyddiant ein tiriogaeth gynnyddol.—*(I'w barhau.)*

*Abertawy.* *Cyf.*, ANEURIN L. JONES.

---

## DARLITH AR "WLADGARWCH."

TRADDODWYD y ddarlith ar y testun uchod gan y Llywydd R. Evans, yn Neuadd y Saint, Cwmbach, Ebrill 26, 1855.

Dangosodd y darlithydd fod pob dyn ar y sydd yn caru cymdeithasu â dyn neu ddynion, er mwyn gwneyd daioni iddynt, yn ddyn-garwr, neu garwr dyn; a'r hwn sydd yn gwneyd daioni i wlad, sydd yn wlad-garwr, neu garwr gwlad, yr hyn yw gwlad-garwch. Dangosodd fod y dyn nad yw yn caru cymdeithasu â dyn yn eithriad mewn dynoliaeth, ac yn groes yn nghreadigaeth Duw, canys y mae pob creadur a greodd y Duw mawr yn caru cymdeithasu â u gilydd, yn ol eu rhywogaeth; a'r dyn na châr gymdeithasu â'i gyd ddyn, y mae y dyn hwn yn eithriad o reol dynoldeb, yn ol gair Duw, o herwydd "Nid da bod dyn ei hunan."

Gosodwyd dyn yn lywydd ac yn arglwydd ar ei dŷ ac ar ei deulu, ac i lywyddu ei wraig a'i blant yn dda yn ol gair yr Arglwydd. Diffyg llywodraeth yn y dechreuad oedd yr achos i ddynoliaeth syrthio, a thrwy hyny i anghariad ymlid cariad o'r byd yn gyffredinol. Wedi hyny cawn hanes i fod Noah yn wlad-garwr ac yn bregethwr cyfiawnder, yr hwn a wahoddai ddynion i ddyfod yn garwyr Duw; ond anghariad, anwladgarwch, ac annhrefn a lywodraethodd y byd, nes ei dyfethwyd oll gan ddiluw.

Lot hefyd a aeth allan fel gwas Duw, yn ngwastadedd Sodom a Gommora, i wahodd y trigolion oddiwrth eu gweithredoedd drwg, ond ni wrandawasant cyn i'r drycin eu dal hwy ar dir anwlad-garwch, ac yn wrthodwyr o'r Duw a'u gwahoddai i ddychwelyd.

Wedi hyny cawn hanes fod Moses yn gwrthod cymmeryd ei

alw yn fab i ferch y brenin, ac yn troi allan yn wlad-garwr; gan fod yn foddion yn llaw yr Arglwydd i waredu Israel o dir eu caethiwed i wlad eu hetifeddiaeth yr hon oedd mewn addewid iddynt, ond er hyny cawn hanes fod anwlad-garwrch yn aros ar y ddaear o hyd.

Ioan Fedyddiwr a ddaeth yn ysbryd a nerth Elias, ond am nad oedd hwn yn bwyta nac yfed, nac yn gwisgo fel dynion ereill, nid oedd addas i eistedd gyda phendefigion a thywysogion y wlad, ac am hyny nis gallai fod yn addas gymdeithaswr, nac yn wlad-garwr chwaith, medd y bobl.

Yn ganlynol daeth ein Harglwydd bendigedig, yr Hwn pan ddaeth oedd yn bwyta ac yn yfed, ac yn gwisgo fel dynion ereill yn y wlad. Derbyniasant hwn yn sicr fel gwlad-garwr? Naddo! dywedasant, "Dyma ddyn glwth, yfwr gwin, cyfaill publicanod a phechaduriaid." Ond er y cyfan, gosododd gyfraith uniondeb ar y ddaear, a dysgodd bethau uniawn i bawb. Er hyny dywedasant "ni a'i lladdwn ef." Yma gwelwn fod Etifedd yr holl ddaear wedi cael ei wrthod i fod yn wlad-garwr neu yn ddiwygiwr gwlad.

Tua'r drydydd ganrif daeth Cystenyn Fawr, i ddyrchafu crefydd Mab Duw, medd efe, a hyny trwy osod ei swyddogion gwladol yn yr Eglwys. Yr oedd Crist'nogaeth cyn y cyfnod hwn yn wael iawn yngolwg y byd, heb na phryd na thegwch arni, fel y dymuna y mawrion, y doethion, a'r cyfoethogion weled; yr oedd yn agored i wawd a dirmyg y dysgedigion, i elyniaeth y byd, ac i erlidigaethau ei gelynion. Ond yn fuan, daew Cystenyn Fawr a'i dywysogion yn ei chofleidio, a thrwy ei ddylanwad ef ac ereill o urddas a mawredd, daeth llawer i'w ystyried yn anrhydedd o gael ymostwng iddi, ei hamddiffyn a'u hawdurdod, a'i chynnal â'u cyfoeth, trwy gyfranu eu trysorau iddi. Ond cofier, aeth pob peth yn awr yn anmhur, yn fydol ac yn ansantaidd, mewn athrawiaeth, dysgyblaeth, ac ymarferiadau eglwys Gristionogol, fel y mae yn bodoli yn awr. Pryd hyn dechreuwyd defnyddio Crostionogaeth i ateb dybenion gwladwriaethol, pan y dechreuodd rhai ymgrymu iddi "am ddernyn o arian a thamaid o fara, a dywedyd, gosod fi mewn rhyw offeiriadaeth i gael tamaid o fara." Cafodd ei throi o'i dyben cyntefig, sef achub ac ardderchogi yr enaid ag anrhydedd ysbrydol ac iachawdwriaeth dragywyddol, i foddhau blys mwyaf

llygredig y enawd, ac i gyrhaedd ardderchawgrwydd ac enw mawr yn y byd.

Yn mhob man lle mae Cristionogaeth wedi ei sefydlu trwy gyfraith, ceir yn ddieithriad braidd, fod y dyben yn fwy i wneyd lles i'r wladwriaeth trwy wasanaeth Cristionogaeth, nag i wneyd lles i Gristionogaeth trwy wasanaeth y llywodraeth, o herwydd y rhai sydd a mwyaf o ofal am achosion a gogoniant llywodraethau bydol, yn y cyffredin, sydd a lleiaf o wir ofal am achosion a gogoniant gwir grefydd. Felly, gan nad pa mor ddiddichell ydoedd Cystenyn yn proffesu Cristionogaeth, mae yn sicr iddo, mewn llawer o bethau beth bynag, wneyd Crist ionogaeth yn wasanaethgar i'w amcanion bydol ei hun. Yn awr, gwelwn ddechreuad cyssylltiad y grefydd Gristionogol a'r wladwriaeth, yr hyn sydd wedi gosod anwlad-garwch mawr hyd yn bresennol.

Gallwn enwi llawer ereill yn troi allan yn ddiwygwyr er eu lles a'u gogoniant eu hunain, ac nid er mwyn llesoli eu cydwladwyr yn gyffredinol.

Ond gall yr holl Saint ddywedyd, y rhai sydd wedi derbyn tystiolaeth, mai dyma oruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd yn yr hon y mae yr Arglwydd yn myned i grynhoi ynghyd ei holl eiddo, a hyny i'r dyben o adferyd dynion i fod yn gyd-garwyr, neu yn wlad-garwyr, ac yn garwyr Crist mewn gwirionedd, ac fod Joseph Smith wedi ei osod gan yr Arglwydd yn Ben-diwygiwr ac yn Brophwyd, a than awdurdod a dylanwad yr Ysbryd Glân yn gwahodd dynion i ddychwelyd, fel y caffant fywyd tragywyddol trwy ufyddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MAI 26, 1855.

Y Drysorfa Ymfudol a'r Deml.—Crefwn sylw parhaus y Saint at y Cymdeithasau daionus hyn; un o brif freintiau y

ffyddloniaid yw cael eu cynnysgaeddu yn y Deml â'r parotoadau anhebgorol erbyn dydd ail ddyfodiad Mab y Dyn—mae adeiladiad y Deml o gydbwys iddynt â hyny ynte. Ar bwy y dibyna ei hadeiladu yn fwy nag ar y rhai a fwynhânt y lleshâd o honi? Gweler enwau a chyfraniadau pob dysgwyliwr am hyny ar y taflleni cyfrifiadol i'r perwyl yn brawf o wirioneddolrwydd ei obaith. Etto mae y mwynhâd o'r oll yna yn dibynu ar ymfudo i'r fan lle mae y Deml a'i hordinhadau, a chan fod y Drysorfa ganmoladwy hon wedi ei threfnu yn bwrpasol er cludo tlodion Seion adref, y rhai na allant fyned un ffordd arall; a chan ei bod hi wedi cludo 1127 eleni, caffed gymhorth dyladwy gan y Saint Cymreig drwy eu cyfraniadau wythnosol; pe ond ceiniog yr wythnos, byddai hyny yn 4s 6c mewn blwyddyn, a gallai 70 fyned adref mewn blwyddyn yn ol hyny; a phe cyfranai holl Saint Cymru ond ceiniog yr un bob wythnos, gallent anfon adref dros drugain yn flynyddol! Dychymyger fod y rhai hyny yn talu yn ol yn mhen dwy flynedd, elai dros chwech ugain o'r drydydd flwyddyn yn mlaen, gan ddyblu yn flynyddol; wrth yr hyn gwelir mai gwaith hawdd yw i'r Saint ymfudo eu hunain! Mae y gallu yn eu meddiant—pe yr iawn brysient "ddydd y pethau bychain;" y dimeuau a'r ceiniogau a gyfrenir yn ewyllysgar, dan fendith Duw a threfniad ei weision, a ddygant oddiamgylch yr holl orchestion a fwriada Duw neu a ddymuna y Saint fwynhau. Na ddigaloned y tylota na chaiff fyned adref tra y mae mor hawdd myned trwy ffyddlondeb. Mae ymroadau y Saint yn y Dyffryn, fel y gwelir drwy bob hanesion oddiyno, o blaid y mawr-waith hwn, yn destun gorfoledd i'r hiraethog am Seion. Mae llawer ar law pob un i'w wneuthur, pe gallai gredu hyny—cyd-weithwyr caffer yr oll a ddysgwyliant gyd-fwynhau yr effeithiau.

Dymunem gerfio ar gof y Saint, y Dosparthwyr, a'r Llywyddion yn enwedigol, fod pob ceiniog sydd yn ddyledus arnynt hwy am lyfrau yn tueddu i rwystro yr ymfudiad ac adeiladiad y Deml, gan fod yr Eglwys yn gwneyd pob peth a allant yn wasanaethyddol i ddwyn oddiamgylch yr amcanion mawreddog hyn; ac o ganlyniad, gwel pob dyn a esgeulusa dalu am ei lyfrau, a phob Dosparthwr a adawo i neb redeg i ddyled ei fod yn euog o ddrwg triphlyg, ac nid digon i ryddhau y naill na'r

Ilall fydd tadogi hyny ar y Llywydd a ddylasai rwystro hyny yn brydlon, a dyledswydd yr hwn yw gweled fod pob un yn gwneyd yn gyfiawn tuag at ofynion yr Eglwys, o herwydd mor sier ag mai "yr enaid a becho, hwnw fydd marw," y gofyna Awdwr dwyfol ein heglwys gyfrifoldeb manwl gan bob un yn ei gylch am ei ymddygiad tuag at ei ddyledion i'r Eglwys. Sylwed y rhai a feddyliant eu bod wedi gwneuthur a allant at achos Duw yn y mynedol ar gyfrifon Cynnadledd Essex, nâ'r hon nid oes dylotach yn Nghymru, heb na gweithfeydd na masnach ond amaethyddol i'w galluogi. Y dirgelwch mawr yw eu bod hwy yn cyfranu eu defnynau yn gysson, yr oll o ba rai a helpiant i lanw y celwrn, yn lle addaw fel y gwneir mewn manau, i dalu symiau mawr ryw amser penodol, yr hwn o herwydd rhyw siomedigaeth sydd o hyd yn y dyfodol, a hwythau yn amddifad o fendith Duw ar eu cyfammodau, nac ar ddim arall o'u heiddo. Profed gwaith pob un yn hyn ei awydd am lwyddiant achos y Gwaredwr!

Yn Nghynnadledd Essex, yr hon na chynnwysa ond 400 o aelodau, bedyddiwyd 34, ac ymfudodd 28. Y casgliadau oeddynt fel y canlyn:—At ymfudiad yr Henuriad Slack, £4; D. Y. Barhaus, £6 17s 5½c; talwyd am lyfrau tua £25; lleihau y brif ddyled, £5 2s 8c; at Drysorfa y Gynnadledd, cynnaliaeth y Bugail, a'r Llywydd a'i deulu, ac hefyd at Gennadiaethau Tramor, £21 1s 10½c, yr hyn sydd yn gwneyd y cyfanswm yn £100! Rheoleiddiwyd 3 cangen newydd yn ystod y chwarter. Derbynir i'r Gynnadledd 165 o *Star*, 57 o *Journal*, a 35 o'r *Route*. Mae cyfartalwch o blant, &c., yn y Gynnadledd, a dyoddefwyd eithaf cyfartalwch o anghyfleusderau ereill, megys y tywydd oer, diffyg gwaith, &c.; ond i derfynu *rhaid* oedd dywedyd mai gwir yr hen ddiareb fyth "Lle mae ewyllys mae gallu." W. H. Kimball yw y Bugail.

---

Y DDADL YN ABERTAWY.—Rhoddasom le i'n gwrthbrofion o gamgyhuddiadau gwarthus ac annuwiol ein gwrthwynebwyr yn ein rhifyn diweddaf, er cyflwyno iawn ddealltwriaeth ar yr hyn y ceisir gwneyd camddefnydd o hono er niweidio achos y gwirionedd; eithr drwg genym hysbysu fod ein baeddwr wedi gomedd yn hollol i bwyso ein hegwyddorion ni, ei ddanfoniad na'i grefydd ei hun yn nghlorianau yr ysgrythyrau; eithr, o

herwydd na fuom mor ffol a chymmeryd ein llusgo o flaen y cyhoedd, pan oeddynt a'u teimladau eisoes, lawer o honynt, yn berwi dan ddylanwadau y chwedlau maleisddrwg a draethwyd am danom ni a'n crefydd anwyl, am na ddaethom i gael ein baeddu fel arth o flaen cŵn, lle na chlywem ein llais ynghanol ysgrechfeydd dyhirod yn gwrandaw chwedlau fel arfer, mwy nag y clywai Paul gynt ei lais ynghanol y fonllef fawr yn Ephesus, cyhuddwyd ni o ballu amddiffyn ein crefydd, a gwaeth nâ hyny, cyhuddasant ni o fod wedi cymmeradwyo eu gosodiadau a gwadu hyny wed'yn! Eithr credwn ein bod ni wedi cyflawni ein dyledswydd i'r cyhoedd ac i'n crefydd yn drwyadl, drwy droi y cyhuddiad yna yn erbyn ei gynllunwyr. Oddiwrth hyn, gwelir mor beryglus i'r gwir yw dyfod yn agos at, nac ymwneyd un dim â'r fath ddynion; a theimla pob carwr y gwir i weddio gyda ni, "O anadl y cyfryw gwared ni Arglwydd daionus." A ddewiso chwaneg o fanylrwydd ar y mater hwn, edryched i'n hamddiffyniad yn yr "Herald" am Mai 16eg.

Mae y darlithoedd sydd wedi cael eu traddodi yn Neuadd y Saint yma genym ni a'n parchus frodyr Wheelock a Ross, ar yr egwyddorion y gwrthododd ein hèriwr ddadleu arnynt, wedi u dyddordeb mawr yn y lle hwn, ac yn achosi lluoedd o bobl i chwilio drostynt eu hunain am y gwirionedd; ac mewn cyflawniad o eiriau Duw fod pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw, mae yn bleser genym ninnau allu dweyd fod amryw bobl yn credu, a rhai wedi, ac ereill yn addaw cymmeryd eu bedyddio ar fyrder; ac mor bell o fod chwedlau ein gelynion yn llwfrhau y Saint, hollol groes yw yr effaith, mae yr ychydig a esgeulusent eu dyledswyddau gynt, a deimlent glaiarineb, yn fwy selog, cadarn ac ysbrydol nâ chynt, a phob gobeithion yn addaw i waith ein Duw lwyddiant mawr iawn ar fyrder. Yr hwn a'n pïa ni a'r grefydd anwyl a lysnafeiddir a ogonedder yn yr oll,—gweddied ein brodyr a'n chwiorydd gyda ni.

---

NEWYDDION TRAMOR.—Ysgrifena yr Henuriad Findlay o Bombay, India ddwyreiniol, Mawrth 5ed, fod eilun-addoliaeth wedi gwreiddio mor ddwfn yn nghalonau y paganiaid hyny, fel na all llawer o honynt amgyffred dim arall, ac mai yr unig sugndynfa at y cenadon seotyddol sydd ynddynt yw eu hawydd

am arian a rhoddion. Nid nemawr llai eilun-addolwyr yw pabyddion y göa [ymneillduwyr o eglwys Rufain] mewn rhan arall o'r un wlad, lle yr ymgrymant i ddelwau y "Seintiau," ac y gwrthodant ryddid i weision Duw i bregethu. Mae yr Henuriad Findlay ar ei ffordd i Seion cyn hyn gyda nifer o Saint, trwy China a Chalifornia.

---

## HYSBYSIAD I LYWYDD, SENEDD, A PHOBL UNOL DALEITHIAU YR AMERICA, ODDIWRTH GYMMANFA WLADWRIAETHOL TIRIOGAETH UTAH.

Yr ydym NI wedi penderfynu yn unfrydol, ein bod yn gwadu yn bendant drosom ein hunain a'n danfonwyr, enllibau a chamddywediadau pawb personau a adnabyddant, neu a broffesant eu bod yn adnabod teimladau a gweithredoedd trigolion Utah, ac, wrth lefaru neu ysgrifenu am danynt, yn gosod cyfeiliornad yn lle gwirionedd, a gwirionedd yn lle cyfeiliornad.

A gwrthdystiwn yn erbyn yr ysbryd sydd yn achosi i lawer o ddynion doeth ac enwog ein gwlad i roddi coel i'r fath gamgyhuddiadau gwarthus a disail, er rhwystro tueddiadau cynnyddol pob ymdrechiadau anrhydeddus, a rhwystro cynnyddiant cyfiawn ein Hundeb drwyddo-draw, trwy dueddu yn gysson i greu anfoddlonrwydd yn ei aelodau, a gosod attalfa ar ffordd pob gwelliant.

Penderfynwn yn mhellach mai y pryniad ammodol o'r Senedd-dŷ at wasanaeth Senedd Utah oedd y defnydd goreu a allasid wneuthur â'r 20,000 doleri a anrhegwyd i'r perwyl gan Senedd yr Unol Daleithiau; a bod hyny wedi arbed ardreth flynyddol o 4,000 o ddoleri, yr hyn, pe amgen, a dreuliasai y cyfanswm yn fuan; a bod drwy hyny y cyfan wedi cael ei ddiogelu er adeiladu Senedd-dŷ yn mhrif ddinas Utah yn gydfynedol ag amcanion y brif Senedd.

Tystiwn hefyd yn ddibetrusder, ar ol gwneuthur ein hunain yn hysbys â threiliad yr Anrhydeddus Lywodraethwr Young o'r 20,000 doleri, fod ei ymddygiad o'r dechreu i'r diwedd yn ddoeth, gonest, ac yn fwyaf llesiol i'r wladwriaeth yn gyffredinol; ac yr ydym ni yn gwrth-dystio y cam-gyhuddiadau a wnaed mewn cyssylltiad â'r mater hwn, a'r effeithiau a ddyg-

odd y cyfryw gam-gyhuddiadau yn Washington ac yn y Senedd-dŷ.

Er boddio meddwl y cyhoedd yn well o barthed i dreiliad yr 20,000 doleri, am ba rai y dywedwyd cynnifer o anwireddau, rhoddwn adroddiad byr o'r prif ffeithiau cyssylltiadol.

Yn ystod hâf 1851, cyflwynodd yr Anrhydeddus A. W. Babbitt yr arian cyfeiriedig i'r Rhagorol Lywodraethwr Young.

Yn yr hydref canlynol sefydlodd y *committee*, apwyntiedig i'r gorchwyl, seiliau i'n prif ddinas, yn Ninas Fillmore, swydd Millard, ac yn ganlynol dechreuwyd adeiladu Talaeth-dŷ yn mis Tachwedd; pryd y gwariwyd, gyda phob cynnildeb a threfnusrwydd, yngwyneb prinder gweithwyr, rhyfel Indiaidd, a llawer o rwystrau ereill hollol anamgyffredadwy i breswylwyr yr hen Daleithiau, 27,697 dol. 53 cent, i adeiladu yr adran fawr ddeheuol o'r prif adeilad; a thystiwn yn ddibetrusder nâ threiliwyd erioed y cyffelyb anrheg yn fwy gwasanaethol i leshâd Llywodraeth, wladwriaethol na thiriogaethol nag y treiliwyd yr uchod gan y Llywodraethwr Young. Mae y swm uchod yn annibynol ar y swm o 1,669 dol. 50 cent, y rhai a gostiodd y sefydliad o'r seiliau, a'r hyn a ommeddwyd ar yr esgus nad oedd hyny yn beth arferol; caniatawyd 8,703 dol. 98 cent, ac anfonir cyfrifon am 18,073 dol. 55 cent gyda y llythyr-gludydd a gychwyna Ion. 1, 1855.

Wrth derfynu deisyfwn yn daer ar lywodraethwyr a doethion ein gwlad, ynghyd â phawb a ddymunant weithredu cyfiawnder, i oedi eu dedfryd ar fater hyd oni chlywant y ddwy ochr o hono, rhag y gwneir anghyfiawnder, ac i'r dieuog ddyoddef y canlyniad.

Gan hyderu y gorchfyga gwirionedd, Foneddigion, y gorphwysa yr eiddych yn barchus,

HEBER C. KIMBALL,
Llywydd y Cynghor.
JEDEDIAH M. GRANT,
Llefarwr tŷ y cynnrychiolwyr.

WILLIAM CLAYTON, Ysgrifenydd,
THOMAS BULLOCK, Etto.

Cymmeradwywyd yn ddieithriad, Hydref 21, 1854.

## CYMMANFA LLANELLI.

Fe gynnaliwyd y Gymmanfa uchod yn Nghapel y Saint, ar y 29ain Ebrill. Wedi dechreu y cyfarfod boreuol, dwys annogwyd y gynnulleidfa gan y Llywydd, i ystyried pwysigrwydd y gwaith ein galwyd iddo, ac i ymdrechu byw yn unol â'n proffes, gan ymbarotoi ein hunain erbyn yr alwad sydd ar ddyfod. Yna penderfynwyd i ddal i fyny holl awdurdodau Eglwys Iesu Grist Saint o Dyddiau Diweddaf yn ddieithriad.

Cafwyd y cynnrychioliad fel y canlyn:—Cang. 11, Hen. 62, Off. 17, Ath. 5, Dia. 13, bu farw 5, ysgymunwyd 5, ymfudodd 8, bedyddiwyd 20. ar wasgar 4.—Yr oll, 323

Yn y prydnawn a'r hwyr cafwyd pregethau, cynghorion, ac addysgiadau rhagorol gan y Llywyddion Capt. D. Jones, C. H. Wheelock, D. Daniels, a T. Jenkins. Cafwyd dylanwadau yr Ysbryd Glân yn helaeth, a gwrandawiad astud gan y byd yn gyffredin.

Penderfynodd y swyddogion a'r Saint i ymdrechu yn y tri mis dyfodol, i wneuthur mwy o waith nag erioed, i dalu dyled y Llyfrau, ac hen ddyled y Gynnadledd.

Ben. Jones, *Llywydd*,
T. Steven, *Ysgrifenydd*.

---

## CYMMANFA SIR ABERTEIFI.

Cynnaliwyd y Gymmanfa uchod yn Aberystwyth ar y 13eg o'r mis hwn. Wedi i'r Llywydd alw y cyfarfod boreuol i drefn, efe a ddwys annerchodd y swyddogion a'r Saint mewn gwahanol egwyddorion. Yna cafwyd addysgiadau gwerthfawr gan y Llywydd D. Daniels. Am ddau pregethwyd i'r byd gan y brawd John Richards, gynt o Mountain Ash, a dilynwyd ef gan y Llywydd Daniels, ar egwyddorion cyntaf yr efengyl. Yn yr hwyr pregethodd y Llywydd Benjamin Evans, a dilynwyd ef gan y Llywydd John Davies o Sir Feirionydd. Ar ol ddiweddu cynnaliasom Gynghor, yn yr hwn y cafwyd addysgiadau buddiol. Cynnrychiolwyd—Cang. 5, Hen. 14, Off. 4 Ath. 1, Dia. 1, ysgymunwyd 3, bedyddiwyd 1, ymf. 3.—Oll 106.

B. Evans, *Llywydd*,
D. John, *Ysgrifenydd*.

## AMRYWIAETHAU, &c.

RHYBYDD GWYRTHIOL.—(O'r "Mormon.")—Er ys tua dwy neu dair wythnos yn ol, meddai y "Ruitman (Missouri) Intelligencer," am yr 16eg o Ebrill, dywedir i beth dyeithr ddygwydd yn Swydd Kemper. Esgorodd benyw ar blentyn yr hwn a orchuddid â blew: bu fyw am dair awr, a llefarodd dri gair yn ddealladwy, sef—"saith mlynedd o newyn." Y peth mwyaf dyeithr yw, y mae hanner poblogaeth Kemper yn ei gredu, ac ymddychrynant yn herwydd y rhybudd daroganol, yr hwn, meddir, a gredant fel amlygiad o ddybenion Rhagluniaeth yn ymweled â'r tir gyda'r fath dymmorau.—*Natchez Courier.*

Y RHYFEL.—Nid yw Sebastopol wedi ei goresgyn hyd yn hyn, na nemawr argoel o hyny; y prif ymladdiadau diweddar oeddynt ond rhuthriadau y Rwsiaid, yn yr hyn y buont ond rhy lwyddiannus er gofid i, yn enwedig y Ffrancod. O hyd newidir magnelau trymach yn mlaen i'r ymgyrch, eithr cyweiria y gelynion yn y nos alanastra y dydd, a chryfhânt eu hamddynfeydd yn gyflym, nes y siaradir yn brysur am faes-frwydro i'w herbyn, yn hytrach nâ churo eu penau yn erbyn castelli adamentaidd y dref yn hwy. Mae iechyd a sefyllfa y byddinoedd yn gwellhau. Tiriodd yno mewn un dydd 150 o dunelli o belenau a chragenau, a 120 o dunelli o bylor, a 12 o fagnelau anferth. Ymddengys rhyfel rhwng yr Unol Daleithiau â Spaen yn herwydd Cuba yn annocheladwy braidd.

TIRIODD y llong "Siddons" o Liverpool yn Philadelphia yn ddiogel, ar yr 20fed o Ebrill.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O EBRILL 27 HYD MAI 20.—Isaac Jones, £4; Chas. Harman, £3 15s; A. L. Jones, £1 15s; B. Evans, £1.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

CYNNWYSIAD.



ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 12.] MEHEFIN 9, 1855. [CYF. VIII.

## CYFLAWNIAD O BROPHWYDOLIAETHAU JOSEPH SMITH!

HYSBYS yw, debygwn, i'r holl Saint, fel na raid ond cyfeirio at hyny yn awr, fod "Gweledydd" mawr yr oes olaf hon wedi rhag-draethu er's mwy nâ 15 mlynedd yn ol, yn mhlith pethau ereill, ddymchweliad yr Unol Daleithiau—y lliwid ei glaswellt ac yr ystaenid ei heolydd â gwaed ei phlant ei hun yn gan gwaeth nag y gwnaed â gwaed lluoedd o Saint yn eu halltudiaeth allan o'u gororau hwynt, yn unig o herwydd eu crefydd; dywedodd y cynhyrfid rhyfel cartrefol yn eu plith gan derfysgluoedd, yr hyn a achosai ymraniad y Taleithiau o'r Undeb—mai y gaethfasnach fyddai y prif destun, ac mai Talaeth Carolina ddeheuol fyddai y flaenaf yn yr ysgariad hwn; do, dywedodd hyn oll, pan nad oedd dim argoelion naturiol o hyny, eithr mae y ffaith o ddidoliad Carolina ddeheuol o'r gyfundeb er's rhai blynyddau yn ol wedi bod yn rhy gyhoeddus trwy y byd i nemawr fod yn anwybodus o gyflawniad llythyrenol dechreuad y brophwydoliaeth. Do, cyhoeddasant eu dadgyssylltiad trwyadl, a gwarafuasant gyflogi na chrefftwyr, ysgolfeistri, pregethwyr, na masnachu â Thaleithiau ereill am yspaid; ac er y clytiwyd y rhwyg ryw fodd am ennyd, nid yw ond fel dernyn o frethyn newydd ar hen ddilledyn pydredig.

Yn ddiweddarach, cyneuwyd ffagl o dân oddiar yr un allor ar aelwydydd Nabraska a Kansas, tiriogaethau newydd ar gyffiniau Missouri gaethfasnachol—hen lawr rhuddiog gan

waed Saint! Wedi hir gweryla yn y Senedd ai caeth ai rhydd a fyddent, cydunodd y pleidiau i'r nifer liosocaf o'r etholwyr tiriogaethol benderfynu, yr hyn a greodd fawr sêl ac ymroad yn wrth-gaethfasnachwyr y Taleithiau Dwyreiniol i anfon o'u plith eu hunain fudolion a bleidleisient gyda hwynt i'w cael yn diriogaethau rhydd, a mawr y rhuthro oedd yno! Achosodd hyn i gaethfasnachwyr y deheu anfon o'u plith hwythau yr oll a allent i wrth bleidleisio y rhai hyny, o blaid pa rai heidiodd cannoedd o hen *fobocrats* creulon cymmydogaethol Missouri, y rhai a wrthwynebasant i'r blaid arall ddyfod i bleidleisio, a'r canlyniad fu i'r etholiad gael ei droi yn ymladdfa gethin, fel y methodd y Llywodraethwr Reeder a'u heddychu. Tra yr aeth efe i Washington am gymmorth, lle y cymmeradwyodd y Senedd ei ymddygiad, yr oedd y terfysgwyr gartref yn cynddeiriogi waeth-waeth yn ei erbyn; cyhoeddasant law len yn duo ei gymmeriad—yn ei gyhuddo o anallu llywodraethol, a throisant ef o'i swydd, gan alw am etholiad un arall o'u dewisiad eu hunain yn ei le pan yr oedd ef yn absennol. Yn y cyfamser crynhôdd y deheu fyddin o etholwyr yn dros gan mil i fyned yno gyda thrysorfa o filiwn o ddoleri i'w cynnorthwyo. Nid yw hyn ond cynhyrfu ysbryd y Dwyrain yn waeth fyth i ymroi i'r ymgyrch, fel y gwelir oddiwrth y ffaith o fod cyfarfodydd cyhoeddus yn cael eu cynnal drwy eu prif drefydd yn *anathematisio* caethfasnach yn boethlyd—fod yr amser wedi dod i roddi terfyn arno, pe costiai hyd y nod yr Undeb sydd rhwng y Gogleddd a'r Deheu, neu nad beth fydd y canlyniadau. Yn ddiweddarach, y mae plaid sydd wedi lliosogi yn wyrthiol braidd yn y dwyrain, y rhai alwant eu hunain "Anwybodusyddion," a gadwent eu daliadau yn ddirgelaidd, eithr yn awr amlygant eu hunain yn wrth-gaethfasnachol, ac yn ddigon cryfion i ethol Llywodraethwyr ar amryw Daleithiau, Hamphshire Newydd, Vermont a Connecticut yn mhlith ereill, ac y mae ganddynt hyder gref y mantola eu dylanwad yn etholiad Llywydd y Taleithiau y flwyddyn nesaf.

Tra mae ysbryd rhyfel yn berwi yn ngwythienau ac yn rhuo bygythiadau drwy eneuau y bobloedd o godiad y rhydd-wlad hyd gyffiniau deheuol caethfasnachaeth—tra mae y gwreichion yn cyneu trwy y wlad mae y golcierth yn fflamio yn yr ymgyrchfan—*mae yr aberth cyntaf wedi cael ei offrymu—gwaed dynol*

*yn dechreu llifo*—ydyw, mae *war whoop* y gyflafan erchyll, yr hon ni welir echryslonrwydd ei galanastra ond trwy hir-graff yspïenddrych prophwydoliaeth, eisoes yn adleisio o goedwig-oedd Missouri hyd Mississippi, ac wedi ei chwythu ar adenydd y corwynt drwy'r byd!

Ar y 30 o Ebrill, saethwyd un o flaenoriaid y caethfasnach-wyr o'r enw Malcomb Clark yn farw, gan gyfreithiwr gwrth-bleidiol o'r enw Mc Rea, yn ninas Leavenworth. Dechreuad y cweryl oedd drwy i Mc Rea alw y llall yn gelwyddwr o barthed i'r etholiad, am yr hyn cafodd ergyd ar ei ben gan y llall â phastwn, a'r modd y talodd y pwyth yn ol oedd, yn y fan yr adferodd o'i syfrdandod, tynodd law-ddryll o'i logell, a'i gyn-nwysiad a fu yn farwolaeth i Clark yn y fan. Neidiodd Mc Rea i'r afon, a cheisiodd ddianc drwy nofio, eithr dygwyd ef yn ol a rhoddwyd ef mewn carchar; cynddeiriogodd hyn y trigolion yn aruthr, a chrynhoisant at y carchar i geisio y llofrudd, gan fwriadu dïal arno, eithr gommeddwyd ef iddynt. Yn ganlynol, cyhoeddasant y llaw-len a ganlyn:—

"AT Y CYHOEDD.

"*Cyd grynhoad mawr ddigllonrwydd - ymgesglwch a dïalwch waed eich cyd-ddyn* —

"Yn gymmaint ag fod Malcomb Clark, un o'n dinasyddion goreu, wedi cael ei ladd, - ei fwrdro yn greulon heb un achos cyfreithlon, yn y ddinas hon, gan lofrudd gwaedlyd o'r enw C. McRea, gelwir y dinasyddion ynghyd dydd Iau, Mai y 3ydd, i fynegu pa beth a fwriadant wneuthur yn mhellach o barthed i'r weithred ysgeler a ymddifadodd deulu o ben ymgeleddol, a dinas o ddinasydd rhinweddol.

"Wele un bywyd yn ychwanegol wedi ei ddiweddu drwy law llofruddiog bradwr mileinig! Pa le y diwedda y fath gan-lyniadau angeuol, Duw yn unig a wyr! Ymgyfodwch, gyd-ddynion, a sethrwch dan eich traed yr anghenfil amryw-benog o WRTH-GAETHFASNACH!"

Yna dilyna rhifres o enwau y *committee.*

Yn ychwanegol at yr uchod, ac am ganlyniadau yr hyn dysgwyliwn yn bryderus ofidus, hysbysir ni gan y "*Platte Missouri Argus,*" o'r 1af o Fai, fod y lluaws wedi pasio y penderfyniadau bygythiol a ganlyn mewn crynhofa liosog o gaeth-fasnachwyr yn nhref Webster Mo.:—"Fod hunan-ddiffyniad yn gorfodi alltudiad pob un a ddarogana yn anmharchus yn

erbyn caethfasnach negroaidd; nad oes hawl gan yspeilwyr na bradwyr i nodded cyfraith ; a'u bod yn cefnogi y ddedryd a basiwyd yn erbyn Methodistiaid, gan gynnwys pob pregethwyr ereill hefyd a ddywedant ddim yn wrth-ddylanwadol i gaethfasnachaeth dan yr un ddedryd; na feddant resymeg amgen yn erbyn y Wasg wrth-gaethfasnachol na'r 'afon Missouri,' 'colcierth,' a 'rhaff gowarch ;' a'u bod yn ymrwymo i fyned i Kansas i gynnorthwyo i alltudio y rhai sydd yn ymyraeth â'r caethion; eu bod yn galw cwrdd mawr i'r perwyl yn Parksville, ar y 5med canlynol."

Yn awr, ddarllenydd, onid oes yma sawyr gwaed ar bob gair, a syched am aberth dynol yn mhob anadliad. Cofus mai y Saint druain oedd yn codi y ddincod ar ddannedd y terfysgwyr hyn, eithr mae y grawn surion a fwytaodd y tadau yn waew yn nghylla eu plant hyn hefyd; a phwy a gwyna i'r blaid arall gymmaint yn awr, gan eu bod mor dduwiolfrydig ag ymladd dros ryddid negroaid, tra na feddent hwy na'r holl wlad glust i wrando ar ruddfanau, na braich i gynnorthwyo eu brodyr unwaed a diniwed, pan yr ymddifadodd y terfysgwyr hyn hwynt o'u mheddiannau, eu gwlad, a'u bywydau gannoedd o honynt! Pwy a dosturia pan yr arllwysa arnynt ddiglonedd bygythiol y Duw yr ymladdasant mor greulon i'w erbyn!

Mae dau beth neillduol i weled yn hyn, sef trugaredd Duw yn arwain ei blant yn brydlon o ganol y chwareulawr gwaedlyd i ddiddosrwydd ynghelloedd y mynyddoedd tragywyddol am ennyd bach, hyd onid êl y llid heibio; ac hefyd ei law ddïaleddol ar eu gormeswyr, drwy iddynt dalu y pwyth i'w gilydd yn ddau ddwbl am yr oll; ac heblaw, gallwn rag-weled drwy yr oll chwaneg o rag-barotoadau at gyflawni mawr-waith Duw nag a amlygwn yn awr. Rhy amlwg yw ystyfnigrwydd y ddwy blaid i al u gobeithio troi y llid yn ol! Nid heb fawr sêl y cyfranasant filiwn o ddoleri, ac nid heb addunedau o sêl dros eu plaid y rhoddasant eu harian i'r penboethiaid a yrasant i faes y frwydr! O na, mae y goelcierth yn anniffoddadwy, credwn bellach!

Y gwaethaf i'r Saint yw, ysywaeth, fod y terfysg hwn yn dechreu ar y fan y cychwynant hwy i'r *Plains*, eto hyderwn y diangant, gan nad oeddynt yn ymyraeth dim. Pa un bynag credwn, gan fod y farn wedi dechreu er's talm o du Dduw, fod

y Saint wedi cael eu rhan, ac eu gwaredir trwy alluog fraich eu Duw ond hyny, tra fyddo y "drygionus yn lladd y drygionus," fel yr arfaethwyd i fod. Nid yw hyn oll ond *dechreuad* gofidiau y dyddiau diweddaf, ar nad pwy a'i crêd.

---

## ANNERCHIAD YR ANRHYDEDDUS LYWODRAETHWR BRIGHAM YOUNG,

*At Senedd Diriogaethol Utah, a draddodwyd Rhagfyr* 11, 1854.

[Parhad o dud. 167.]

YMDDENGYS y byddai y gost a'r drafferth o gludo nwyfau dros fil o filltiroedd ar hyd y tir yn achos digonol i gefnogi y marsïandydd i ymroi at *waith cartrefol.* Eglur yw mai ein mhantais fel pobl yw, i gynnyrchu y rhan fwyaf o'n defnyddiau ni ein hunain o nwyfau er defnydd ein hunain. Dyna *ffynonnell cyfoeth* i unrhyw wladwriaeth o anymddibynrwydd i unrhyw Dalaeth. Mae llawer wedi cael ei gyflawni, eithr fe brawf y prisiau, heb ddim arall, mai busnes ennillfawr yw gwneuthur yr oll o'r nwyfau a nodwyd, ynghyd a llawer ereill, a'u bod yn gyfleusderau i ychwaneg o'n dinasyddion i ymgyfoethogi.

Pe gellid diwallu digon ar ein mharchnad â nwyfau o ddiwydrwydd a chrynodeb cartrefol, cyrhaeddid ein hamcan, cedwid yr arian yn y wlad, a chwiliai masnachwyr anghartrefol am farchnad mewn lle arall i'w nhwyfau. Mae Gweithiau Siwgr Kanyon Creek, a fwriedir i wneuthur llawer o siwgr oddiwrth y betys, yn agos parod i gychwyn. Mae y gweithfeydd yn Swydd Haiarn, er gwneuthuriad haiarn o'r mŵn, mewn gweithrediad, er nad mor llwyddiannus ag y dysgwylid. Cyfarfyddodd y gweithwyr â llawer o rwystrau na ragwelwyd, ag ydynt fwy neu lai tueddol i sefydliadau newyddion, a metelau annhrofedig, ac ymdrechasant yn erbyn llawer o amgylchiadau croes; eithr y mae yn galondid a chefnogaeth i wybod iddynt fod yn alluog, cyn belled, i fyned drostynt oll; ac hefyd i ddysgu proffiadau a wnant fawr-rwyddhau eu gweithrediadau dyfodol. Derbyniodd y gangen hon o waith cartrefol gryn gynnorthwy o'r brif drysorfa, a dichon y gofyna ychydig gynnorthwy etto am ychydig amser.

Yn yr ymledaeniad cyffredinol o wir wybodaeth, a'r ymarfer-

iad o ddiwydrwydd gwir ddefnyddiol a chrynodeb cartrefol, canfyddwn elfenau annherfynedig, llwyddiant, ac anymddibyniaeth; lluniant gaerau ein hamddiffyniad, a hwy ydynt darddiad ein rhyddid. Ymestyniad o ofal meithrinol a chynnorthwy awdurdod gwladwriaethol sydd deilwng i bob amcanion o'r fath a ymddangosant mor eglur yr hwylasant leshâd cyffredinol. Y mae llawer o welliadau cyhoeddus wedi eu cyflawni, er mai trwy gyfraniadau rhydd ewyllys y bobl mewn llafurio, yn fwy nâ thrwy drysorfeydd cymhwysedig at y cyfryw ddybenion eu gwnaed. Adeiladwyd pontydd dros afonydd yr Iorddonen a'r Sevier; y mae melinau wedi cael, ac o hyd yn cael eu cyfodi; ffyrdd yn cael eu gwneuthur; cwmydd a mynyddau yn cael eu chwilio am ddefnydd, a sypynau anferth o goed at adeiladu, ac i'w llosgi, meini, a defnyddiau ereill yn cael eu casglu er cynnydd parhaus ein trefydd a'n dinasoedd; yr oll yn arddangos ysbryd ymdrechgar ac anturiaethus yn ein dinasyddion, yr hyn sydd foddhaol i bawb a deimlant dros welliant a chynnyddiant y dyffrynoedd pellenig hyn.

* * * * * * *

Gadewir ni o hyd mewn ammheuaeth o berthynas i wneuthuriad rheilffordd yn groes i'r cyfandir, yr amser pa bryd, a'r ffordd ei gwneir. Pe ei hagorid er anturiaeth bersonol, ac y rhwymid dynion yn iawn, y mae yn fwy na thebyg y byddai un neu ychwaneg mewn gwneuthuriad yn awr, ac y byddai yn fuan ar waith.

Gan yr ymddengys fod pwnc andwyol Nebraska-Kansas wedi ei waredi yn foddhaol, gyda phryder yr hyderir am i'r mater hwn dynu sylw ystyriol y Senedd yn fuan iawn. Mae yn o debyg eu bod wedi cael hysbysiad o'r gwahanol ffyrdd i'r rheilffordd sydd wedi cael eu mhesur erbyn hyn, ac ni ddylai dim eu rhwystro rhag penderfynu yn union pa ffordd eu gwneir, a thorri mesurau er eu gwneuthuriad buan.

Yn y rhan filwraidd nid oes un cyfnewidiad neillduol wedi ei wneuthur oddiar yr hysbysiad o'r blaen; mae yr ymarfer arferol wedi bod, eithr am y cofrestriadau newyddion, y rhai a ddysgwylir i ddangos cynnydd dirfawr mewn rhifedi, nid ydynt etto wedi eu hanfon i mewn. Mae rhai o'r cwmnïoedd gwirfoddolaidd yn diwallu eu hunain â milwr-wisg weddus, yr hon sydd yn ychwanegu at eu golwg filwraidd, ac yn arddan-

gos eu teimlad yn nyddordeb y cyflawniad o'r ddyledswydd hon fel pob un arall. Byddai yn destun canmoliaeth pe dilynai ereill eu hesiampl. Gwir yw mai gwell yw genym grynodeb mewn ffurfiad, dysgyblaeth, arfau, *ammunition*, a phob taclau angenrheidiol mâ phethau dianghenrhaid, yn addurniadau neu ryw bethau ereill o'r fath; eithr, yn gyffredin, gellir priodoli yr ymdrech a'r balchder canmoladwy sydd yn cymhell swyddog neu filwr i wisgo yn weddus yn brawf nad yw y pethau mwy angheinrheidiol yn cael eu hesgeuluso. Ni fu ond enw o wasanaeth filwraidd! ni alwyd am un ymgyrchfa, ac y mae y *Guard* oedd mor ofynol yn ystod ymosodiadau Indiaidd, mewn rhan, wedi eu gollwng ymaith.

Erys amddiffynfeydd a chaerau dinasoedd yn y mwyafrif o'r sefydliadau mewn sefyllfa anorphenedig. Cymhellwn y bobl *etto* i fawrygu yr amser heddychol a llwyddiannus presennol i gwblhau eu hamddiffynfeydd, gan na wyddant yn mha awr yr aflonyddir eu mwynhâd o lonyddwch.

Cynnorthwy y Drysorfa Ymfudol Barhaus sydd wedi ei estyn i filoedd o dlodion, i'w helpu i ymfudo o'r Unol Daleithiau, a gwledydd ereill, ac i gael cartrefleoedd yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd. Y mae gweithrediadau y Cwmpeini, hyd yma, wedi bod yn lled lwyddiannus, er mai ychydig ad-daliad, ar gyfartalwch, sydd wedi dychwelyd oddiwrth y rhai a gynnorthwywyd. Ond, beth bynag, ad-dalant cyn gyflymed ag eu galluogir, ac mewn llawer o enghreifftiau, dyblir drwy *gyfraniad* yr hyn a dderbyniasant.

Trwy gynnorthwy y Drysorfa hon, gwnaethpwyd llawer o ddaioni eisoes; llawer o filoedd o bersonau sydd wedi eu dwyn o eithafion tlodi, a'u gosod lle y gallant gynnal, nid yn unig eu hunain, eithr yn fuan gael digonedd iddynt eu hunain a'u teuluoedd. Erys miloedd etto yn bryderus am yr amser pan fydd y Cwmpeini yn alluog i'w hymfudo hwythau hefyd, i wlad lle y gwobrwyir eu llafur. Dwbl dâla gweithrediadau y Cwmpeini, nid yn unig drwy osod y tlodion lle y medrant gynnal eu hunain, eithr ychwanega at yr hyn lafur sydd anghenrheidiol er ymhelaethu defnyddiau y Diriogaeth, a chynnyrchu a chysylltu o'r elfenau, bethau ag ydynt anghenrheidiol er cynnaliaeth a phwrpas dynoliaeth.

Ein llafur yw ein cyfoeth; drwyddo y casglwn foethau

bywyd, yr addurnwn y ddaear â phreswylfanau a gerddi ardderchog, yr adeiladwn ddinasoedd, ac y cynnyrchwn ffrwythau breision y ddaear o'i mhynwes famol. Yma yn naturiol, ynte, y mae gollyngfa allan i ddosparthiadau rhy boblogaidd y taleithiau a gwledydd henach, lle yr ymddengys bob ffordd waredigol yn nghau yn erbyn y tlodion, y rhai ydynt yn ymlusgo trwy fywyd poenus mewn newyn ac eisieu, a throsglwyddo idd eu plant yr un dynghed—etifeddiaeth ddiobaith a diddiolch. *Yma*, yn y cyrau ffafriol hyn, braidd y gellir dweyd fod tlodi yn bodoli, ac nid oes achos i neb a feddant allu cyffredin i weithio, ddyoddef eisieu anghenrheidiau cyffredin bywyd. Hyn oll fu llafur Cwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus, i grynhoi y *tlodion teilwng* o'r fath lefydd, a'u breintio ag etifeddiaeth gyda ni. I brofi fel y llwyddasant, adleisiad y bryniau, y dyffrynoedd, a'r cwmydd gan sŵn eu diwydrwydd a etyb! Atebed yr ystordai sydd yn tuchan tan bwys cynnyrchiadau y ddaear,—effaith eu llafur! O'r dechreuad mae eu gweithrediadau wedi cynnyddu yn raddol—rhifodd yr ymfudiad y llynedd yn agos i bedair mil o eneidiau. Bwriedir iddynt weithio yn helaethach o hyn allan mewn ymfudo o'r Unol Daleithiau.

Mae y cyflawn-rif o Swyddogion ammodol i'r Diriogaeth, oddieithr arolygwr Indiaidd, yn awr yn aros gyda ni; a chyn belled ag y deallwyf y mae graddau helaeth o gymmwynasgarwch a charedigrwydd ad-ddychweledig rhyngddynt â phobl y Diriogaeth.

Y mae rhan o fyddin yr Unol Daleithiau o dan gadfridogaeth Colonel Steptoe, ar eu ffordd i Galifornia, yn preswylio yn ein plith hefyd am y gauaf. Oddiwrth agwedd garedig a boneddigaidd y swyddogion, a'r rheolaeth a ddangosant sydd ganddynt dros eu gwŷr, teimlaf yn ddiolchgar pan yn credu pe gofynid eu gwasanaeth er amddiffyn y sefydliadau rhag ymosodiadau Indiaidd, neu ereill, ei rhoddid gyda pharodrwydd.

Tra yn taflu brâs sylldrem fel hyn ar gyfiwr a sefyllfa ein tiriogaeth, ein cartref fynyddig anwyl, fe'm hadgoffheir yn gryf am ei chynnyddiant yn ystod ei bywyd ieuanc, a'i hargoelion cysurlawn o'i hamser gogoneddus dyfodol, pan yr ymdyfa dros ei chaethiwed tiriogaethol, i gael ei lle yn mhlith y teulu nerthol hyny o genedloedd, cynnydd a gallu, dylanwad a

thynghed pa rai a ddadguddir gan graff lygad hollalluogrwydd yn unig.

Caffer ni yn cynnorthwyo, trwy ein hymdrechiadau a'n galluoedd cyssylltiedig, i hwyluso lleshâd y cyhoedd, fel pan elom ymaith, y caffom y cydwybodolrwydd ymffrostgar o fod wedi cadw a chyflawni yn ffyddlon y gofalon pwysig a ymddiriedwyd arnom gan y bobl, gweision pa rai ydym, a'r rhai y mae genym yr anrhydedd o'u cynnrychioli.

BRIGHAM YOUNG.

Swyddogaeth Awdurdodol T. U.,
Dinas y Llyn Halen Mawr, Rhagfyr 11, 1854.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MEHEFIN 9, 1855.

NEWYDDION O'R DYFFRYN.—Mewn llythyr dyddorol dyddiedig yr 28ain o Fawrth, hysbysa y Llywydd G. A. Smith ni, yn mhlith llawer o newyddion cysurlawn ereill, fod gwanwyn cynhesawl eisoes wedi gwawrio ar y Dyffrynoedd ar ol gauaf tymherus; fod ymegniadau cyffredinol yn cael eu gwneuthur i eangu amaethyddiaeth ar y ddê a'r aswy, gan ddysgwyl tiriad lliaws atynt yn y tymmor hwn o bob cwr o'r byd. Bwriedir hau cymmaint a ellir ddwfrhau; ac y mae yn newydd da iawn fod y borfa yn cynnyddu ynghylchoedd y dinasoedd pa fwyaf ei porir. Mwynheir iechyd da trwy y Diriogaeth; ymdrechir i gwblhau yr adeilad mawr newydd a gyfodir yn ochr ogleddol y Tabernacl erbyn y Gymmanfa nesaf; mae ei faintioli yn 156 wrth 138 o droedfeddi, ac fe gynnwysa 8.000 o bobl. Mae tŷ y cynnysgaethiad ar orpheniad. Hongianwyd drysau mawrion ar byrth adran y Deml, ac fe orphenir yr Arf-dŷ yn mhen ychydig ddyddiau. Mewn atebiad i ddeiseb flaenorol Colonel Steptoe ar flaenoriaid y *Pah Vantes* Indiaid, dygwyd i ddinas Nephi yr Indiaid a fwrdrasant Lieu. Gunnison, yr hon weithred ysgeler mae yn gofus i ddrwg-ddynion, drwy New-

yddiaduron Americanaidd, geisio gan y byd goelio mai y Saint a'i gwnaeth, eithr yma cafwyd y gwir fod un neu ychwaneg o'r Saint yn mhlith y rhai a laddwyd; dedfrydwyd o flaen y Barnwr Kinney, dri o'r Indiaid euog o hyny i waith caled mewn carchar am dair blynedd. "Mae iechyd y Llywydd Young yn well nag yn y geuaf, mae yn dyfod allan weithiau yn awr; mae ei Gynghorwyr yn iach. Yn fy awydd mawr i gwblhau hanes Joseph Smith ni allais dreulio llawer o amser oddiyma, etto aethym ar wib-deithiau yn aml i bregethu yn y sefydliadau. Malodd y peiriant siwgr dros 22,000 o fwsheli o Fetys mewn 7 wythnos yn driegl, a hyderir y gwneir siwgr da o honynt. Mae eich teulu yn iach, a phawb yn gweddio drosoch, ac yn caru clywed oddiwrthych yn fynych. Diolchwn yn garedig i chwi am yr anrheg o gopi o bob peth o'ch gwaith yn Gymraeg, ac yn enwedigol am yr hanes manwl a gwerthfawr a roddasoch o ddyddiau olaf Joseph a Hyrum Smith, bydd o ddefnydd mawr yn Hanes yr Eglwys, ac os meddwch chwaneg, gadewch i mi ei gael Mae undeb rhagorol rhwng pawb o'r swyddwyr â milwyr estronol, ac â'r Indiaid hefyd."

---

Diwedd y Chwarter.—Cofied y Llywyddion fod y mis hwn yn ddiweddu chwarter, ac fel ar ddiwedd pob chwarter blaenorol anfoner yma yn brydlon y cyfraniadau at y Deml, ac enwau y Trysorwyr; y cyfraniadau i'r Drysorfa Ymfudol Barhaus, ac enwau y cangenau, a bydded iddynt ddyfod o bob man yn brydlon. Crefwn hefyd arnoch, Frodyr, i ymroi gosod y Dosparthwyr ar waith i grynhoi yr arian dyledus am lyfrau, a'u bod yn anfon yr oll a ellir i'r swyddfäau cyn y gwneir eu cyfrif chwarterol i fynu.

---

## LLYTHYR O'R DYFFRYN.

*Dinas Tooele, Rhagfyr* 19, 1854.

Ein hanwyl Blant,—Da oedd genym dderbyn eich llythyr caredig, dyddiedig Medi 27, ac i ddeall eich bod yn iach ac yn parhau i fwynhau ysbryd ymfudo. Mawr yw ein pleser am ein bod yn alluog i'ch hysbysu pa bryd eich gwaredir. Dywedais wrthych o'r blaen am beidio ag anesmwythau yn herwydd

ymfudo, y gofalai eich rhieni am hyny: trwy gynnorthwy yr Arglwydd mi a'i gwnaethym. Ymgasgliad y Saint tlawd o blith cenedloedd y ddaear yw prif destun pregethu ein Prif Lywyddiaeth, ac y mae ein dinas ni wedi cael yr anrhydedd o fod yn flaenaf i ufyddhau i'w taer annogaethau yn hyn: y Sul wythnos i'r diweddaf casglasom 2,500 o ddoleri i'r perwyl hwn, neu £520 1s 8c o arian eich gwlad chwi. Nid ydym yn rhifo dros tua 30ain o deuluoedd; etto mae y nifer hyny wedi anfon digon i ymfudo 40 i'r wlad hon. Na fyddwch yn rhy awyddus am ddillad gwych; eithr prynwch y rhai mwyaf defnyddiol. Caffed Rebeca wisg neu ddwy o wlanen wasanaethgar gogyfer â'r gauaf, gan fod y gauaf yn y parth gogleddol hwn yn lled oer; a mynwch chwithau bâr o ddillad ffwstian cryf, ynghyd a rhai dwc, a chymmaint o ddefnydd ffwstian a dwc a ellwch gael. Os oes dillad gwlanen at y gwaith tan ddaear genych, gofalwch eu dwyn gyda chwi. Gadewch eich bwellau ar ol, gan na fyddant yn ddefnyddiol yma: ond os bydd arian genych prynwch rai ar eich taith yn yr Unol Daleithiau; canys y maent gymmaint gwell na eich rhai chwi. Parotoed Rebeca ei hedef, pinau, a nydwyddau, moddion cwiltio, calico, &c. [Gwel yr *Arweinydd i Seion.*]

Mewn atebiad i'ch gofyniad, sef, A ydym ni wedi lliosogi ein hanifeiliaid, dywedwn, nac ydym: nid oes genym ond y dreisiad a soniasom am dani o'r blaen, dau fochyn, a thua 30ain o *fowls;* gallasem fod wedi prynu iau o ychain, neu dair buwch, pe na fuasai genym i dalu yn agos 100 o ddoleri am ein cludiad yma. Credasom mai gwell hyny na phrynu *stock*, o herwydd fod cynnifer o'n brodyr, chwychwi yn enwedig, yn gweddio am waredigaeth o Babilon, a bod llawer o hyny yn ymddibynu arnom ni, tra y cawn ddigon o amser i gael *stock* etto. Da fyddai genym gael y *Star* a'r UDGORN yn gysson pe gellid; canys da fydd gan ein plant ar ein hol i'w cael etto.

Ydym eich rhieni,

*Gynt o Rymni.* DL. A MARY WILLIAMS.

---

SYLWAD Y GOLYGYDD.

Gyda phleser mawr y gosodwn y llythyr hwn a'r un canlynol ger gwydd ein darllenwyr, nid yn unig am yr ysbryd da a arddangosir drwyddynt oll, eithr yn neillduol yr ymdrech fawr

a arddangosir sydd yn cael ei wneuthur yn y Dyffryn o blaid y Gymdeithas Ymfudol; gwelir fod y Saint yno o ddifrif am gynnorthwyo eu brodyr i ddyfod atynt, a mawr lawenhâ y *ffyddloniaid* yn yr egwyddor a ddesgrifir ynddynt i wneuthur *ffyddlondeb* yn deilyngdod i ymfudo o flaen cyfoeth, ffafr, nac âch,—dyma fel y dylai fod. a dysgwyliwn y symuda hyn y rhwystr oedd gan rai, yr annoga hwynt i ymdrechu o blaid y Gymdeithas Ymfudol Barhaus, ac y calonoga bawb i fwy o ffyddlondeb.

A ganlyn yw eu llythyr olaf a eglura yr egwyddor rinweddol y cyfeiriwn ati:—

*Dinas Tooele, Chwef.* 11, 1855.

Ein hanwyl Blant,—Ysgrifenasom lythyr atoch yn Rhagfyr mewn atebiad i'r eiddoch am fis Medi diweddaf, yn yr hwn yr hysbysasam chwi o'r hyn a wnaed yma dros eich hymfudiad; ond y mae ein cynlluniau hyny wedi cael eu gor-lywyddu gan drefniadau y Drysorfa Ymfudol Barhaus, am ba rai ni wyddem y pryd hwnw. Hysbyswyd ni gan y Llywodraethwr y defnyddir pob arian a osodir yn y D. Y. Barhaus yn ol trefniad y Llywyddiaeth yn mhob gwlad, y rhai ni ddanfonant neb ond y Saint *teilyngaf*, a'r rhai mwyaf defnyddiol yn y dyffrynoedd hyn, megys eu harweinir gan Ysbryd yr Arglwydd. Da iawn genym hyn, o herwydd y dibyna eich ymfudiad ar eich ffyddlondeb yn ngwaith yr Arglwydd, a'r graddau a ennillwch o ymddiried y Llywydd D. Jones, yr hwn yw eich cyfarwyddwr a'ch gwaredwr yn bresennol. Gobeithiaf fod eich hymddygiad fel Sant a gwas i Dduw wedi ennill i chwi y cyfryw barch a sicrhâ eich ymfudiad y flwyddyn nesaf drwy y moddion a gyfranwyd i'r perwyl. Ffyddiog ydym mai felly y dygwydda, a pharhawn i ymbarotoi erbyn eich dyfodiad, fel y byddo genych artref i ddyfod iddo, lle y byddwch ddedwydd yn mhlith Saint yr Arglwydd. Pe na chaffech ddyfod y tro nesaf, na ddigalonwch; eithr ymorphwyswch yn amyneddgar ar yr Arglwydd, gan gadw ei orchymynion, ac ufyddhau i gynghor ei weision yn mhob peth, ac fe aiff pob peth yn mlaen yn dda gyda chwi, a bydd eich iachawdwriaeth yn sicr.

Y mae pob peth yn myned yn mlaen yn dda yma: coronir llafur ein dwylaw â heddwch a llwyddiant; adeiladir Seion â muriau iachawdwriaeth a'i â phyrth moliant. Y mae dinas Tooele yn hanner ymgauedig, ac fe'i cwbl ymgauir yr haf hwn. Heddychlawn yw pawb a phob peth yma. Gwrthododd Col.

Steptoe fod yn Llywodraethwr dros Utah, a ffurfiodd ddeiseb dros barhâd y Llywydd Young yn Lywodraethwr, gan wirio y gadawa ef a'r holl swyddogion [milwraidd] ynghyd a'r masnachwyr [nad ydynt yn Formoniaid] y Diriogaeth pe danfonid Llywodraethwr arall yma!

Cawsom auaf mwyn heb nemawr eira na rhew; y mae ein gwaith amaethyddol wedi dechreu, ac y mae llawer o wenith wedi ei hau; ond mae y tir yn sych arw, gan na chawsom ond ychydig eira a dim gwlaw oddiar yr Hydref diweddaf. Mwynhawn iechyd da yn barhaus, a pharhâ yr Arglwydd i'n bendithio a'i Ysbryd. Mae eich ewythr John yn iach ac yn ymdaro yn dda rhagorol.

Gwelwch yn dda ein cofio yn garedig at Capt. D. Jones, ac at yr holl swyddogion a'r Saint, y rhai a garaf yn rhwymau yr efengyl; fy ngweddi barhaus ar Dduw sydd am eu gwaredigaeth, fel y cyd-fwynhaont â ni o freintiau y Saint yn y dyffrynoedd hyfryd hyn.

Nid oes un cyfnewidiad neillduol wedi digwydd yn ein hamgylchiadau oddiar pan ysgrifenasom o'r blaen. Mae yma lawer iawn o Saint Cymreig sydd yn gwneuthur yn dda. Mae David Charles o Gastellnedd, Thomas Thomas, Nash a Gibbons o Bontytypridd, ynghyd ac amryw ereill, oll yn ymuno yn eu cofion caredicaf at y Saint yn Nghymru. Hoffem pe ysgrifenech yn aml yn yr haf dyfodol, gan ein hysbysu pa fodd y mae gwaith Duw yn llwyddo, a'r holl newyddion a ellwch roddi, canys hiraethwn am glywed pob peth ynghylch yr hen wlad. Parhaued Duw, y Tad tragywyddol, i'ch bendithio chwi a'ch rhai bychain, yw gweddi

Eich rhieni,

DL. A MARY WILLIAMS.

---

## LLYTHYR AT BREGETHWYR Y SAINT.

*Yr Allt Gery, Mai* 20, 1855.

MR. GOL.,—Os yw yn bosibl, gadewch i mi annerch fy mrodyr yn yr Offeiriadaeth :—

Frodyr, trwy Forganwg a Mynwy yn benaf,—Chwi a wyddoch ddarfod i mi addaw yn ddiweddar i fyned i weithio i'r rhan hon o winllan Crist, ac yr wyf wedi cyrhaedd yma er y 14eg o

Fawrth, ac erbyn hyn wedi teithio cryn lawer ar y cae, ac etto heb weled ei gyffiniau! Mae y cynauaf, yn ddiau, yn FAWR IAWN, ond y gweithwyr sydd yn anaml, frodyr! Er teithio o Aberteifi i Aberystwyth, 40 o filltiroedd nid oes un i'w weled ag a all ddwyn tystiolaeth ei fod yn etifedd o deyrnas Dduw ond fy hunan! Ac i lawr i Sir Benfro am filltiroedd, nid oes *un* yn gwybod fod ei feiau wedi eu maddeu! Hefyd yn Sir Gaerfyrddin (y parthau isaf) nid oes neb yn mwynhau doniau yr Ysbryd Glân, nac yn gwybod dim am danynt trwy brofiad, ac wrth feddwl am hyn, frodyr, mae y dagrau yn treiglo dros fy ngruddiau y mynyd hwn, ac y mae teimladau fy nghalon yn rhy anhawdd i'w desgrifio, pan yn meddwl am yr holl gannoedd, ïe, y miloedd lawer sydd yma yn amddifad o wybodaeth a sicrwydd o ffordd y cadw, ac hyd yn hyn heb gael cyfleu i glywed fod sicrwydd i'w gael yn yr oes hon.

Frodyr, meddyliwch am y bobl hyn, a theimlwch drostynt; ac wrth feddwl, os na allwch deimlo, holwch eich hunain pa beth sydd yn rhwystr. Yr ydych yn meddwl, yn teimlo, ac yn awyddus am fyned i Seion. Mae y bobl hyn mewn anghen o ddedwyddwch hefyd, ac er fy ngofid, maent heb wybod pa fodd na pha le i'w gael. Yr oedd amryw o honoch chwi am fyned y llynedd, a chyn hyny, ac etto yna yr ydych, ac yr ydych yn aml yn barod i holi eich hunain. Paham na chaem ni fyned? Efallai y byddai yn well i mi ateb eich gofyniad, a hyny fel hyn,—Ni allasai y Prophwydi a'r Patriarchiaid gael eu perffeithio heb Grist a'i Apostolion, &c., na'r Apostolion gynt heb y rhai presennol, na'r rhai hyn hebom ninnau, na ninnau heb rhyw gannoedd o'r bobl hyn, sydd ar hyd siroedd Aberteifi, Penfro, a Chaerfyrddin, a'r holl wlad yma, y rhai sydd etto heb glywed, chwaethach credu ac ufyddhau i'r ffurf o athrawiaeth iachus, yr hon sydd yn abl i berffeithio dyn llygredig Maent yn aros i rai o honoch chwi ddyfod i'w hysbysu, yr wyf fi yn benderfynol i wneyd fy ngoreu, ond pe byddwn yn ddeg ar hugain, byddwn yn rhy fach wed'yn o lawer, a gwneyd chwarae teg â'r bobl: gan hyny, frodyr, rhoddwch law o gymhorth, torwch trwy bob rhwystrau, a dewch mewn llawn arfau dysclaer at y gorchwyl hwn. Yn awr yw yr amser goreu o hyn i'r cynauaf gwenith. Cofiwch ei bod yr un mor wir a bod *Aqua Fortis* yn dda i beru awch ar gryman yr amaethwr, i fod

*Aqua Vitae*, dwfr y bywyd, neu Ysbryd Duw yn anhebgorol i beru a chadw min ar gryman y sawl a ddêl yma; heb hwn arosed gartref.

Yr eiddoch ar frys,

JOHN RICHARDS.

---

## HERIAD P. P. PRATT.

(*Allan o'r "Editors Chronicle."*)

DEALLAF trwy dôn y wasg fod gwladwriaethwyr, moeswyr, a chrefyddwyr yn flin yn nghylch Utah ac Amlwreigiaeth! "Rhyfel!" "rhyfel!" "gwaed" a "dinystr" i'r Mormoniaid paganaidd druain! Ond—diolch fo i'r Methodistiaid duwiolfrydig—"argyhoedder y Mormoniaid yn gyntaf,—danfoner cenadon atynt," meddant.

Hawl Llywydd yr Unol Daleithiau yw penodi Llywodraethwr, a danfon milwyr i Utah. Gŵyr dinasyddion y cyfryw Diriogaeth hyny, ac nid oes ganddynt un gwrthwynebiad. Eithr beth ped elai llywodraethwr a milwyr yno, i ymyraeth â iawnderau a breintiau y bobl, gan sathru y cyfreithiau, (oddiwrth ba rai, ar hyny o bryd, ni fyddai un perygl.) Wel, yna, bid siwr, mae y troseddwyr, yn ogystal â phawb ereill, yn atebol i'r llysoedd gwladol, ac yn agored i ddirwyiad a charchar, neu ddienyddiad, yn ol fel bo eu troseddiadau. Pe na wnelent ond bygwth, rhwymir hwy i gadw yr heddwch. Nid yw llysoedd Utah etto wedi eu cael yn ol mewn gweinyddiad o'u cospedigaethau. Pa droseddiadau neillduol a ddygir yn erbyn Llywodraethwr a Dinasyddion Utah, am ba rai eu bygythir ag argyhoeddiad neu ddinystr?

Dywedir wrthym mai Amlwreigiaeth yw. Wel, fe ddywed yr Apostol mai "*anghyfraith* yw pechod." Dewisem argyhoeddiad o flaen llofruddiaeth.—Ac yma, caniatewch i mi awgrymu cynllun er argyhoeddiad yr oll yn gyfangwbl, heb dywallt dyferyn o waed, na thrafferth taith i Utah. Yr wyf i yma yn Nghalifornia fel aelod awdurdodol, a chynnrychiolwr yr eglwys yn Utah, am yr hyn y gallaf roddi dangosiadau. Boddlon ydwyf i i gwrdd ag eisteddfod o gyfreithwyr, a'r offeiriadon galluoccaf a geir yn y wlad. Ac yr ydwyf drwy hyn yn gwirio yr ymwrth-

odaf yn gyhoeddus ag Amlwreigiaeth, ac ymddyga yr eglwys a gynnrychiolaf yr un modd, ar yr ammodau a ganlyn, sef:—

I'r Hen a'r Newydd Destamentau, a chyfreithiau yr Unol Daleithiau, ynghyd a chyfreithiau Tiriogaeth Utah fod yn safon: ac os, yn y maes ëang hwn, y ceir un dernyn o gyfraith yn mha un y mae Duw, angylion, dynion prophwydi, apostolion, Mab Duw, neu yr Ysbryd Glân, yn gwneuthur Amlwreigiaeth yn *drosedd, yn torriad cyfraith, neu yn anfoesoldeb*, yna, ar y cyfryw ammodau yr ymwrthodwn ag Amlwreigiaeth. Eithr oni wneir hyny, ystyriwn gyfraith Duw ar y pwnc o briodas, Amlwreigiaeth yn gynnwysedig, fel y sefydliad mwyaf cyssegredig, ac yn ymrwymedig ar ein cydwybodau—mewn rhydd ymarferiad o'r hwn, hòuwn yr amddiffyniad a sicrheir mor haelionus a chyfiawn gan lywodraeth gyffredinol ein gwlad.

Os gwel golygyddion yn gyffredinol yn dda i gyhoeddi hyn, geill dueddu tuag at ymchwiliad a goleuad naill ai y "Mormoniaid tlawd ac anwybodus," neu i'r rhai a'u hystyriant cyn belled o'r ffordd iawn.

*Santa Clara, Tach.* 22, 1854. P. P. Pratt.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y Rhyfel.—Mae y byddinoedd unol wedi cymmeryd Kertch a lladd o 5 i 6 mil o'r Rwsiaid, a cholli cannoedd eu hunain.

Derbyniadau am Lyfrau o Mai 20 hyd Mehefin 6.—John Gibbs, 10s; Isaac Jones, £2; Griffith Roberts, £1; W. Davies, £9.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

CYNNWYSIAD.



ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

… # UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 13.] MEHEFIN 23, 1855. [CYF. VIII.

### FFRWYTHWCH AC AMLHEWCH.

PECHOD mawr a chyffredinol y dydd presennol yw y gwyrdröad o drefn Duw. Ystyrir y deg gorchymyn, gan y sectariaid, fel eu rhoddwyd gan Moses, yn ddechreuad a diwedd hollol o'r oll sydd angenrheidiol er arwain dyn drwy bob amgylchiad perthynol i fywyd. Maent oll yn angenrheidiol cyn belled ag y perthynant, eithr tra eu cerfir ar lefydd amlwg mewn eglwysi ac, bron yn mhob holwyddoreg, tra eu dysgir mewn ysgolion, ac yn y cylch teuluaidd, ac eu hadroddir o'r pwlpud ; ymddengys fel pe byddai y gorchymyn mawr yr hwn a ystyriai yr Arglwydd o'r fath bwys anhebgorol fel mai y cyntaf oedd a osododd ar Adda ac Efa, pan y dywed, "*Ffrwythwch ac amlhewch a llenwch y ddaear*" wedi ei esgeuluso, ei ysbrydoli, neu ei daflu yn mhlith y pethau afreidiol a allasent unwaith fod yn angenrheidiol, pa rai y mae dyn drwy ei hunanoldeb wedi eu troi o'r neilldu am rywbeth mwy cyd-rywiol â'i chwantau llygredig. Ystyriodd Duw fod ufydd-dod i'r gorchymyn hwn yn gymmaint o bwys er llwyddiant ei deyrnas, fel, pan y dinystrwyd holl drigolion daear, ond Noah a'i deulu, yr ail ymddangosodd yn bersonol iddo, ac yr ail osododd yr un gorchymyn arno ef a'i hiliogaeth—"*Ffrwythwch ac amlhewch a llenwch y ddaear.*"

"Ond," meddai yr edrychwr arwynebol, "meddyliaf y fod dynolryw yn ufyddhau i'r gorchymyn hwn." Mae yn o debyg nad yw y fath bersonau yn ystyried cymmaint ar y pwnc pwysig hwn ag ydynt yn myfyrio pa fodd i gynnyddu eu defaid a'u

gwartheg. Rhaid fod yr Arglwydd Dduw, pan y sylloddai ar hyd a lled y greadigaeth hardd a wnaeth yn drigfa i'w blant, yn teimlo gofal lawer mwy dyrchafedig, dwys a theimladwy dros berffeithiad yn ogystal a nifer ei hiliogaeth, nag y teimla yr amaethwr dros yr anifeiliaid gwych y mae yn dewhau i'r laddfa. Gyda y fath dristwch a phryder y rhaid ei fod wedi edrych yn mlaen drwy gyfnod amser, a gweled yr hil a greodd Efe ar ei ddelw ei hun, ac a stampiodd â mawrygrwydd ei natur ei hun, yn gwastraffu eu hymdrechiadau a galluoedd bywydol er boddhau eu nhwydau gwael a'u chwantau llygredig, i ba rai ni ymostynga yr anifeiliaid direswm, canys y mae greddf natur wedi eu cadw hwynt yn burach na dyn, er ei holl reswm a'i ddoethineb.

Gyda'r fath deimladau galarus y rhaid fod ein Tad nefol yn edrych i waered ar sefyllfa bresennol ei blant; er enghraifft, y rhai hyn yn Lloegr wareiddiedig,—Gristionogol! Pa nifer o ddynion cyfiawn y mae Efe yn gael yn debyg i Gideon yr hwn a feddai "ddeg mab a thrugain, a ddaethai o'i lwynau ef ei hun; canys gwragedd lawer oedd iddo ef?" Neu yn debyg i Jair y Gilead a feddai "ddeg mab ar hugain yn marchogaeth ar ddeg ar hugain o ebolion asynod: a deg dinas ar hugain oedd ganddynt?" Neu i Ibsan o Bethlehem, gan yr hwn yr oedd "deg mab ar hugain, a deg merch ar hugain, y rhai a anfonodd efe allan, a deg merch ar hugain a ddug efe i'w feibion oddi allan?" Digon tebyg yw mai annichonadwy fyddai cael enghraifft o un dyn yn y wlad hon sydd wedi cadw y gorchymyn cyntaf hwn mewn cyfiawnder, fel y gwnaeth barnwyr Israel, a dynion da ereill yn y dyddiau gynt.

Yn lle y fath ddynion ceir miloedd a gredant fod bywyd gweddw yn gyssegredig neillduol, ac mai i farw heb adael hiliogaeth ar y ddaear sydd ffordd anffaeledig i sierhau iachawdwriaeth; tra mai un o'r melldithion mwyaf a gyhoeddodd yr Arglwydd ar ben y drygionus oedd, i dorri ymaith eu cenedlaethau oddiar y ddaear—"Canys yr Arglwydd a gâr farn, ac ni edy ei Saint; cedwir hwy yn dragywydd: ond hâd y drygionus a dorrir ymaith." "Coffawdwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig; ond enw y drygionus a bydra." I'r gwrthwyneb, y mae cynnydd hiliogaeth yn un o'r bendithion mwyaf a ellir roddi i ddyn, a phwys-leisiodd yr Arglwydd yn

neillduol ar hyny pan y dywed wrth Abraham,—"Gan fendithio mi a'th *fendithiaf*, a chan amlhau mi a *amlhaf* dy hâd fel sêr y nefoedd, ac fel y tywod yr hwn sydd ar làn y môr."

Gwir yw fod yn y wlad hon a llawer o wledydd Cristionogol ereill lawer o eglwysi, eithr yr un mor wir yw mai odditan gysgod eu pinnaclau a ddyrchafant mor santaidd tua'r nef yr erys miloedd o ddynion a benywod o bob gradd yn ofer dreulio eu bywydau mewn ufydd-dod distadl i'r chwantau mwyaf dinystriol, yn lle cenedlu mewn purdeb feibion a merched teilwng o ddelw rhagorol Duw. Y mae digon o weinidogion hefyd; ond och! cyn lleied o honynt sydd hyd y nod yn meddwl am, llawer llai yn dysgu eu cynnulleidfaoedd, ddyben mawreddog y gorchymyn mawr cyntaf hwn, a phurdeb manwl y gyfraith yn unol â pha rai y bwriadodd yr Arglwydd iddo gael ei gyflawni. Pa mor aml y cuddia mantell santeiddrwydd o sylw dynion rai o'r pechodau am ba rai y dinystriwyd Sodom a Gommorah? Llawer o bobl sydd drwy Gristionogaeth yn ngraddau uchaf y byd, a feddyliant nad yw hiliogaeth ond mater i'w gymhwyso er ateb eu pwrpas hwy; ni feddyliant fod Duw yn hidio dim yn ei gylch Os sicrhant blentyn neu ddau i etifeddu eu hystâdau, ni chwenychant drafferthu i fagu ychwaneg, tuhwnt i hyna, defnyddir eu mheddiannau, eu nerthoedd, a galluoedd eu bywyd er hunan-les, ac er boddhau pleserau amserol, heb gymmaint a threulio yr un myfyriad ar yr hyn a geisia yr Arglwydd ganddynt. Etto, y mae miliynau o'r is raddau, yn y rhan hono o'r byd a ystyrir yn wareiddiedig, y rhai, tra nad ydynt rhy falch i ufyddhau i'r gorchymyn cyntaf, nac yn rhy ofer i ofalu yn bersonol am eu heppil—bendithion mwyaf y nefoedd, etto a orfodir, drwy eu hamgylchiadau cyfyng, o herwydd cyfreithiau y tir, a dull annaturiol cymdeithas, i ystyried plant yn feichiau, yn ddrwg anghenrheidiol, na ochelir ond drwy fyw bywyd unigol, neu gyflawni drygioni. Ychwanegwch at hyn y mil-ac-un o ddylanwadau ereill a osodir i rwystro ac attal gweithrediadau natur. mewn corffoli cyrff newydd er preswyliad ysbrydion, ac arweinia y meddwl ystyriol i orfod cyfaddef, fod yr hyn a fwriadodd yr Arglwydd i fod yn fendith. wedi ei ŵyrdroi gan ddyn yn felldith. Yr hyn a fwriadodd yr Arglwydd yn brif amcan bodoldeb dyn, sydd wedi ei wneuthur yn ail beth i foddhau chwantau llygredig. Y mae dynolryw wedi

myned mor felldigedig a llygredig drwy eu troseddiadau, fel y mae miliynau o honynt yn anaddas bellach i amlhau eu rhywiogaeth, ac y mae yr Arglwydd yn eu hysgubo ymaith drwy y cleddyf, yr haint a'r newyn, a'r rhai a adewir nad edifarhant gan baro eu hunain a ddarparir i'r llosgfa.

Pe deuai yr Arglwydd i waered i lawer o ddinasoedd y Cenedloedd fel ag y daeth i Sodom, er deall a'i cywir yr hyn a glywodd am danynt, tebyg yw na chaffai hwynt nemawr gwell na'r ddinas hono. Erlidiant yn awr ei weision Ef y rhai a'u harweinient yn ffordd yr iachawdwriaeth. Gwrthodant eu haddysgiadau, y rhai a'u dangosent pa fodd i gadw y gorchymyn cyntaf yn ei holl burdeb, ynghyd a'r holl gyfreithiau a berthynant i alluoedd bywyd. Cario allan y gorchymyn mawr hwn mewn cyfiawnder, yw sylfaen yr athrawiaeth amlwreigaidd, a phwy bynag a'i hymarfero gyda dybenion ereill a gânt mai parotoi damnedigaeth iddynt eu hunain y byddant, canys amlhâ hyny y drwg sydd yn condemnio y byd – gŵyrdröad o fendithion dewisolaf y nefoedd at ddybenion allan.

*(Allan o'r "Millennial Star.")*

---

## MORDWYAD YR AFON COLORADO !

*(O'r "San Francisco Herald.")*

Y MAE dinas newydd wedi cael ei sefydlu yn ddiweddar ar lan yr afon Colorado, yn union islaw ei chyssylltiad â'r afon Gila, yr hon a argoelia fod yn le o fawr fasnach cyn hir. Gorwedda y sefydliad ar làn ddehenol yr afon Colorado, gogyfer â Fort Yuma a chroesiad ffordd fawr yr ymfudiad o Texas a Mexico.

Mae yr ymsefydlwyr hyn wedi chwilio Cul-fôr California o Guaymas i ben uchaf y Culfôr, ac ni chawsant un lle arall a allasid ymsefydlu arno, o herwydd fod y wlad am 25 neu 30 o filltiroedd ar ochr ddwyreiniol y Culfor yn ddiffaethwch tywodlyd, heb ddwfr croyw nac unrhyw fath o wyrdd-lysieu.

Mae yr afon Colorado am tua 5 neu 6 milltir islaw y Gila yn agored i orlifiadau, ac nis gellir cael sefyllfa ddiogel a dymunol i dref yn îs. Mae mordwyaeth y Colorado wedi ei sicrhau i fyny hyd Fort Yuma, ac mae yr agerdd-long "General Jesup" wedi bod yn trosglwyddo nwyfau y llywodraeth i'r lle hwnw,

Y mae Major Heintzleman, yr hwn oedd Cadfridog diweddar Fort Yuma, wedi bod i fyny yr afon Colorado tua 100 milltir, a'i farnef yw ei bod yn rhwyddach afon i'w mhordwyo nag yw yr Ohio.

Y pellder o Ddinas Colorado i'r manau enwedig isod ydynt fel y canlyn:—

I San Diego, 180 o filltiroedd yn gymhwys; 200 ar hyd y ffordd.

I El Paso, 410 milltir, yn ol mesur Gray.

I Ddinas y Llyn Halen Mawr, 650; gyda'r dwfr 250, ar hyd y tir, 400.

I San Francisco, 750 o filltiroedd ar hyd y tir, trwy Joaquin.

I Guaymas, 350 milltir gyda'r dwfr, ac i'r prif drefydd yn Sonora, ar hyd y tir, o 200 i 500 o filltiroedd.

Dybenion yr ymsefydliad hwn ydynt er gwneuthur ystôr le i ddiwallu ymsefydlwyr a mwnwyr a ymfudant i'r Diriogaeth newydd, i drosglwyddo nwyfau i Daleithiau gogleddol Mexico yn rhydd o dreth, i hwyluso darganfyddiad a dangosiad y trysorau o fwnydd cyfoethog a dybir eu bod yn y wlad rhwng yr afonydd Gila a Cholorado, ac i agor mordwyaeth y Colorado hyd sefydliadau y Mormoniaid yn Nhiriogaeth Utah.

Y nifer o bersonau ag ydynt yn bywyn y Basin Mawr Americanaidd gyfrifir o 80 i 100 o filoedd (yn gyfartal i hanner poblogaeth California isaf). Diwallir y bobl ddiwyd ac ymdrechgar hyn â'u holl nwyfau o St. Louis, 750 o filltiroedd gyda'r dwfr i Council Bluffs, a 1200 yn ychwaneg ar hyd y tir dros wastadedd a mynyddoedd. Pan y dygwydda i ymsefydlwyr y Basin Mawr feddu mwy o fodlion nag a dreuliant, a chanddynt weddill i ymfasnachu, ar hyd yr afon Colorado yw y ffordd fwyaf naturiol a rhwydd idd ei drosglwyddo. Os gellir sicrhau y fasnachaeth barhaus a chynnyddol hon hyd San Francisco drwy fordwyaeth Culfor California a'r afon Colorado, cynnyddai ei mhasnachaeth mewnol un hanner yn y man lleiaf, heblaw rhoddi cynnorthwy angenrheidiol iawn i'w masnachwyr allanol.

Mae y gledr-ffordd, a fesurwyd gan Col. Grey dros "Gwmpeini Caerefrog Newydd," a fwriedir wneuthur, trwy Texas a'r Diriogaeth sydd wedi newydd gael ei llurfio yn croesi y Colorado yn y man hyny.

Y mae mordwyaeth yr afon Colorado, ynghyd a darganfyddiad y wlad ëang a ddwfrheir gan ei changenau yn un o orchestion penaf y dydd presennol."

Felly y teimlem ninnau er's blynyddau yn ol fod ymchwiliad manwl i ansawdd yr afon fawr Colorado, ynghyd ag i'r dyffrynoedd helaeth a breision a addurnant ei glànau am gannoedd o filltiroedd o'i harllwysiad i Gulfôr California i fynu i berfeddion y wlad gyfoethoccaf, debygir, dan haul, ac yn cyfeirio yn gymhwys tua sefydliadau y Saint yn un o'r ymgyrchiadau mwyaf dyddorol i Utah a allem feddwl am dano, cyn y meddyliasem ar anturiaeth, ganol geuaf, i deithio yn mhlith anwariaid,—dringo mynyddau oerllyd y Wasatch—ymlusgo drwy eira yn droedfeddi o drwch am fisoedd, a chysgu yn ei ganol y nos; cyn y meiddiem fyned, meddwn, ar ein cost ein hunain, a dyoddef pob math o galedi oedd ddichonadwy i ddynoliaeth sefylltano, a'r hyn oedd fwy nag a allai anifeiliaid fyw trwyddo, ond suddent tano wrth yr hanner dwsin y dydd; etto yn mlaen symbylwyd ni drwy yr oll gan obaith darganfod yr Eden orllewinol, a chael porthladd i Utah. Ac er fod y tywydd wedi ein gommedd y tro hwnw, ni leihaodd ein ffydd yn modoldeb y fath le, ac felly gellir barnu faint ein llawenydd wrth glywed drwy'r hanes uchod fod ffeithiau, darganfyddadwy gan ereill, yn profi ein tyb yn wirionedd er cymmaint oedd rhagfarn yn ei herbyn pryd hyny. Edrychwn yn mlaen gyda dyddordeb mawr at yr amser yr iawn ddefnyddir y manteision mordwyol a geir yn y Colorado i hwyluso plant Seion wrth y miloedd tua thref, ac y diwallir hwynt â nwyfau lawer yn hawddach nâ thrwy eu llusgo dros fil o filltiroedd trwy anialwch fel y gwneir yn awr. Heblaw hyny, dyry y darganfyddiad hwn, ynghyd â gorpheniad cledr-ffordd Panama, ar hyd yr hon y croesir y cyfandir o fôr i fôr mewn ychydig oriau, obaith adnewyddol i'r Saint, hyd y nod pe ceuid yr hen ffordd adref, gan y rhwystrau a ddesgrifir yn ein rhifyn blaenorol am Kansas, nad amddifadid hwy o'r fraint o weled Seion yn ei harddwch ar y bryniau tragywyddol o eisieu ffordd, ïe. "prif ffordd" i fyned yno.

Mawr lwyddiant a gaffo ymchwilwyr y wlad a'r afon uchod i roddi y Saint mewn meddiant o'i rhagoriaethau a'u rhagoryn freintiau, yw ein dymuniad,—a'n braint fyddo cael mordwyo ol adref mewn agerfad hyd yr afon Colorado!—Gol. yr Udg.

# IACHAD DRWY'R EFENGYL.

AT OLYGYDD YR "UDGORN."

Dymunaf eich hysbysu am fawr allu Duw yr hwn a amlygwyd yn ein plith, yr hyn sydd fel y canlyn:—

Yn mis Ebrill diweddaf bedyddiwyd merch ieuanc yn Ninbych, o'r enw Lucy Davies, yr hon a gafodd *stroke* o'r *palsy* (fel y tebygid) ddwywaith; y tro diweddaf oddeutu tri mis cyn ei bedyddio, yr hyn a achosodd wendid parhaus i un ochr, a chollodd ddefnyddioldeb un law yn hollol, yr hon aeth yn gauedig, ac nis gallasai ei hagor; yr oedd ei llaw yn oer a dideimlad, ynghyd a rhan o'i braich. Methodd y meddygon ei gwella, er iamryw dreio.

Y Sul cyntaf y derbyniwyd hi yn gyflawn aelod o'r Eglwys, ymofynodd am, ac ymarferodd â chyffeiriau y Meddyg dwyfol, trwy alw ati yr Henuriad William Jones, i eneinnio ei llaw ag olew, ynghyd â gweddio drosti. Hi a dderbyniodd y fendith o iechyd yn y fan,—agorodd ei llaw, a derbyniodd nerth iddi, a chyn iddynt ymadael yr oedd yn gwbl iach. Achosodd hyn i'w mham foliannu a bendithio enw yr Arglwydd, a mawr lawenhaodd yr holl deulu, er nad oes neb o honynt yn aelodau o'n Heglwys.

Enwau ei rhieni yw David a Chathrine Davies, ac enwau y tystion yw William Jones, Edward Lloyd, a Robert Jones.

Eich brawd yn y ffydd,

JOHN PARRY.

---

# YMHOLIADAU I EGWYDDORION.

Mae yn dda genym weled y Saint yn ymholi i egwyddorion, yn neillduol y rhai ymarferol neu a ddaliant gyssylltiad â'u dyledswyddau a'u lleshâd presennol. Ysgrifenwyd y gofyniadau isod atom er's tro yn ol, eithr o herwydd i lythyr ein brawd allu ymguddio o'n golwg am ysbaid dan y cruglwyth o ddefnyddiau rhyfel a bentyrent ar ein llaw y pryd hyny y bu cyhyd yn ddisylw; er y dichon y mwynhâd o'r addewid nefol fod, cyn hyn, wedi ateb y cwestiynau yn gan-mil gwell nag y dichon dynoliaeth eu hateb heb hyny, dengys eu hail ddarlleniad i ni eu bod yn ofyniadau dyddorol i ereill, a chan na feddwn well defnydd

i wneuthur o'n Hudgorn nag i egluro gwirioneddau, mae addasach pobl i wneyd hyny na'n gohebwyr proffadol, o'r cyfryw y rhoddwn y gofyniadau o'u blaen, ac y crefwn iddynt eu hateb mor fuan ag y dymunant, a dywedwn hefyd fod nid yn unig croesaw ond *erfyniad* ar bob derbyniwr i ymholi â'r Udgorn am oleuni ar yr hyn a fetha gael gan ei Lywyddion, neu, ar yr hyn a gyhoeddwyd eisoes.—Gofynir a ganlyn gan Amos Clark, Rhoslanerchrygog, sef yn

1af. Pa beth yw "dawn yr Ysbryd Glân" a addawodd Pedr ar ddydd y Pentecost; beth oeddynt ei effeithiau?

2il. A ddichon dyn fod tu fewn i eglwys Crist, ac etto fod yn amddifad o dystiolaeth yr Ysbryd Glân?

3ydd. Yn mha gyflwr y mae dyn wedi y caffo ei fedyddio er maddeuant pechodau hyd oni dderbynio efe yr Ysbryd Glân?

4ydd. Gan fod arddodiad dwylaw yn ordinhad er derbyn yr Ysbryd Glân, paham na dderbyniai pawb yr Ysbryd Glân *pan* y gweinyddir arnynt?

5med. Ai bedyddio â dwfr ac â'r Ysbryd Glân yw y "ddau beth dianwadal" y sonia Paul wrth yr Hebreaid am danynt?

6fed. Yn mha sefyllfa yr oedd y Samariaid (Act. viii) wedi cael eu bedyddio cyn cael arddodiad dwylaw?

Erfynir byrdra ac eglurdeb o drugaredd ar ein tudalenau bychain, neu ateber bob yn un neu ddau.—Gol.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MEHEFIN 23, 1855.

Y Cynnrychioliad hanner blynyddol!—Dysgwylir cynnrychioliad pob Cynnadledd yn y Dywysogaeth am yr hanner blwyddyn sydd yn terfynu, Mehefin 30ain, 1855, i fod yma o fewn pump diwrnod o bellaf ar ol hyny yn ddiffael! Nac anghofier un o'r manolion a ganlyn, sef enw y Gynnadledd, rhifedi y cangenau, yr Archoffeiriaid, Henuriaid, Offeiriaid, Athrawon, a Diaconiaid; rhif y rhai a ysgymunwyd, a fuont feirw, a ym-

fudasant, a fedyddiwyd yn y cyfamser, a chyfanrif yr aelodau yn cynnwys y Swyddogion a'r aelodau gwasgaredig. Gofynir hefyd enw y Bugail, y Llywydd, a'r Ysgrifenydd.

Os oes rhyw Gangen neu aelodau anghyssylltiedig â chynnadledd, dymunir arnynt gynnrychioli eu hunain i ni yn brydlawn.

Erfynir ar y Llywyddion i weled fod Llyfrau y cangenau yn cael eu cadw yn gywir a rheolaidd, fod enw pob un yn cael ei ysgrifenu yno, amser ei ymadawiad, ei ymfudiad, ei ysgymuniad, ei farwolaeth, neu nad beth arall a ofyna llyfr yr Eglwys am gofnodi, ac ystyried pob un fod hyn yn beth rhy bwysig i'w esgeuluso yn awr, onitê, caiff allan ei bwysigrwydd pan êl i Seion, efallai er ei golled, pan yn rhy ddiweddar i wylied! Pe gwnelid hyn, hawdd fyddai rhoddi cynnrychioliad cywir, a hyderir nad o'u côf, nac o ddim amgen nag o lyfr yr Eglwys y dyry Llywyddion Cangenau eu cyfrif. Edryched pob Llywydd Cynnadledd i'w gynnrychioliad blaenorol yn yr UDGORN, a gweled fod rhif yr ychwanegiadau a'r ymadawiadau, &c., yn cyferbynu i'r cyfanrif yn y Swyddogion a'r Saint, cyn yr anfonant ef i ni, ac nid anfon rhyw nifer dybiol, a gadael i ni, megys cynt, i chwilio allan y gwallau. Hawddach i bob un wneyd hyny ei hunan, a hyderwn y ceir cywirdeb o bob man.

Craffer hefyd ar, ac ymddyger yn ol ein cynghorion blaenorol o barthed i'r Trysorfäau, y Dosparthwyr, &c., ac anfoner yr holl arian a fyddo bosibl am lyfrau cyn y cauwn y cyfrif chwarterol hwn.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH T. JEREMY.

*Philadelphia, Mai* 22, 1855.

ANWYL FRAWD JONES.—Yn ol fy addewid wele fi yn achub y cyfleusdra cyntaf i ysgrifenu atoch, fel y galloch wybod pa fodd yr ydym oll, yn enwedig y Saint Cymreig. Cyrhaeddasom yma oll yn iach, oddieithr dwy ferch fach. Bu farw un o efeilliaid y brawd Jeremiah Price, gynt o Rymni, yr hon oedd tua dwy flwydd oed, o herwydd damwain alarus a gafodd ar yr 20fed o Ebrill, trwy gwympo oddiar y *deck* i lawr trwy yr *hatchwa*; bu farw ar yr 22ain, a chladdwyd hi yn ei dyfrllyd fedd, tua 300 o filltiroedd o Cape Clear, pregethwyd yn Gymraeg a Seis-

nig yn ei hangladd, a rhoddwyd rhybuddion dwys i rieni i ofalu am eu plant, yr hyn a gafodd yr effaith ddymunol wedi hyny. Gobeithiaf y bydd y brofedigaeth uchod yn rhybudd i bawb o'r Saint a fydd etto yn croesi y môr, i fod yn ofalus iawn o blant bach, canys nid ydynt hwy yn deall dim am siglad y llong. Bu y plentyn bach arall farw ar yr 2il o Fai, yr hwn oedd yn un mis ar ddeg oed; ei afiechyd oedd *inflammation of the lungs*; enwau rhieni y plentyn yw William a Sarah Beynon o Gangen Georgetown, Merthyr. Ni fu un afiechyd arall yn ein plith, ond clefyd y môr, ac ni pharhaodd hwnw ond ychydig ddyddiau. Cawsom gyfarfodydd rhagorol ar fwrdd y llong, dan lywyddiaeth ddoeth y brawd Edward Stephenson, y cenadydd diweddar yn Giberalter.

Rheoleiddiwyd y Saint yn y llong yn saith o gangenau, a llywydd ar bob un o honynt; yr oedd tri o honynt o Gymru, sef y brodyr canlynol,—Samuel Burt o Gaerdyf, Wm. Davies, o Gynnadledd Dyffryn Conwy, a David Jeremy o Brechfa. Cynnaliwyd cyfarfodydd gweddi hwyr a boreu yn mhob Cangen, a thystiai amryw o'r Saint yn y cyfarfodydd na theimlasant erioed yn well nag oeddynt pryd hyny. Pan fyddent yn gweddio yn gyhoeddus, yn mhlith amryw bethau ereill, ceisient yn debyg i hyn,—"O Arglwydd, bendithia y brodyr Jones a Daniels yn Nghymru, a bydded llwyddiant mawr ar eu llafur yn mhlith ein cyd-genedl, &c."

Derbyniwyd ni yma yn garedig gan y brawd Fulmer. Nid wyf yn gwybod etto pa bryd y byddwn yn gadael y lle hwn; y mae pob darpariadau yn cael eu gwneuthur at fyned yn mhellach etto, ond y mae rhyw ychydig yn bwriadu aros yma.

Nid oeddwn yn bwriadu rhoddi llawer o hanes ein mhôrdaith i chwi, gan fod cymmaint wedi ei ysgrifenu mewn perthynas i forio o bryd i'w gilydd, a chyda chwi yn yr "*Arweinydd i Seion*," a digon i mi yw dywedyd wrth y Saint Cymreig am ddarllen yr "*Arweinydd*," a'i *gofio*,—cânt weled ynddo gynghorion er eu lles yn mhob man ag y byddant.

Gwnewch fy esgusodi am fod fy llythyr mor fyr, gan fod amryw o lythyrau ereill genyf i ysgrifenu; diau y cewch weled llythyr y Llywydd E. Stevenson yn y "*Star*," yn rhoddi hanes mwy cyflawn o'n mhôrdaith, yr hwn a ddarllenodd efe i mi boreu ddoe.

Y mae eich chwaer-yn-nghyfraith a'i dwy ferch yn iach, ac y maent hwy a phawb o'r Cymry yn dymuno eu cofio atoch yn fawr, ac yn olaf fy nghofion innau atoch mewn modd caredig a serchog, ynghyd ag at y Brawd Daniels. Yr Arglwydd a barhao i ychwanegu bendithion ar eich penau, ac a'ch llwyddo i ledaenu egwyddorion gwirionedd ar hyd a lled ein genedigol wlad. Byddaf yn dysgwyl cael llythyr oddiwrthych chwi yn St. Louis.

Terfynaf yn awr, gan ddymuno arnoch fy nghofio at y Saint Cymreig.

Ydwyf eich brawd, &c.,

THOMAS JEREMY.

---

## SYLWER AR, AC EFELYCHER A GANLYN.

### LLYTHYR AT Y LLYWYDD DEWI E. JONES.

ANWYL LYWYDD,—Yr wyf yn defnyddio yr adeg bresennol i'ch hysbysu ein bod fel swyddogion a Saint yn y Gangen hon yn benderfynol i wneuthur yn ol ewyllys ein Tad nefol, mor berffaith ag y gallwn, canys gwyddom mai y cyfryw rai a etifeddant Deyrnas nefoedd. A chan y gwyddom fod Duw wedi ein dewis i rybuddio ein cyd-ddynion, yr ydym yn benderfynol i wneuthur hyny hyd eithaf ein gallu, ac yr ydym yn teimlo yn llawen fod y cyfleusdra genym i wneuthur hyny. Yr wyf i ac un o'r brodyr sydd yn y Gangen hon wedi bod yn talu *swllt a naw ceiniog* yn wythnosol am fyglys (*tobacco*), ond o hyn allan yr ydym yn myned idd eu defnyddio i dalu am y llyfrau sydd genym ar law yn y Gangen hon, fel y gallom eu rhoddi i'r rhai sydd yn rhy *dlawd* i dalu am danynt. Gobeithiwn y bydd i'r lleill o'n brodyr sydd yma ddilyn ein cynllun cyn hir, y mae un o honynt wedi addaw gwneuthur hyny, ac nid wyf yn meddwl y bydd y lleill yn anewyllysgar i wneuthur daioni. Yr oeddwn i, a'r brawd a nodais, yn talu yn flynyddol *bedair punt* ac *un swllt ar ddeg* am dano. A chaniatâu nad oes ond pedwar cant o Saint yn Nghymru yn chwiffio myglys, a bod pob dau yn llosgi cymmaint â ni ein dau, deuai yr arian i fyny i £910! yr hyn fyddai yn ddigon i gludo dros 60 o Saint i Ddyffryn y Mynyddoedd bob blwyddyn!!! Pwy na wêl, ynte, fod ei adael yn waith da? Dymunwn weled holl Saint Cymru yn ei adael,

a defnyddio eu harian at waith Duw, megys yr ydym ni wedi penderfynu gwneuthur. Yr ydym yn meddwl talu arian y *tobacco* yn y Cynghor yn gysson bob mis, yn lle yn y *shop*.

Ydywyf eich brawd yn Nghrist,

*Cangen y Llwyni.* WILLIAM EVANS.

SYLW.—Byddai yn dda ddigon i ferched a gwragedd y trew lwch i efelychu y brodyr uchod, yna

Nid rhwydd ac aml y gwelid gwg,
Ar ruddiau 'r un, gan dymher ddrwg;
A'r wyneb hyll, ddaw'n fil mwy hardd,
Nâ'r rhosyn prydferth yn yr ardd.

Syberwid welir dros y tŷ,
Ac arogl iach o'u cylch a dry;
Boddlonrwydd hefyd dan y fron,—
A chwery yn y llygad llon. DEWI ELFED.

---

[Dywenydd anysgrifadwy yw genym weled y Saint yn agoryd eu llygaid yn wirfoddol i weled eu lles—eu mhawr-les fel yn y cynnygiad uchod Ewyllys rydd ac nid trais yw y "Gair Doethineb" am hyny, tra y cymheliwn bawb i efelychu y brodyr uchod yn eu hunan-ymwadiad, hyderir na redir i ormod rhysedd i gondemnio y sawl na feddant benderfyniad ddigon cryf i orchfygu eu chwant ar unwaith—na "ddiffodder lin yn mygu." Etto, credwn y bydd cywilydd ar y neb a wastraffo ei arian am na thobaco, sneisin, na'r cyffelyb, i haeru fod awydd arnynt ymfudo tua Seion, canys pe carent Seion yn fwy nâ'r cyfryw danghosent hyny trwy wneyd a allent eu hunain. Hyderwn y cawn glywed a hysbysu drwy yr UDGORN etto, pa Gangenau, ïe, Cynnadleddau os gwnant, a efelychant y brodyr uchod.—GOL.]

---

## TIRIAD Y LLONG JUVENTA.

*Llwyddiant yr ymfudiaeth ar hyd y ffordd newydd i St. Louis. &c.*

YN mhlith llawer o newyddion cysurlawn ysgrifena yr Henuriad Wm. Glover o Philadelphia ei fod ef a'r cwmpeini oedd dan ei ofal ar fwrdd y llong Juventa wedi cyrhaedd yno oll yn iach a chysurus ar y 5med o Fai. Ymddygasai y Cadben, y Meddyg, a'r holl Swyddogion yn hynod garedig at y Saint, a mawr

y canmolasant eu glendid, eu heddwch a'u cariad brawdol, yr hyn oedd iddynt hwy yn anghydmarol, meddent. Cynnaliwyd cyfarfodydd gweddio boreu a hwyr yn mhob dosparth o'r llong, a phregethwyd yn gyhoeddus mor aml ag yr oedd amgylchiadau yn caniatau. Amlygwyd gallu Duw mewn dau achos neillduol ar y daith drwy iachâd brawd a scaldiodd ei wyneb, a phlentyn yr annobeithiodd y meddyg am ei fywyd. Cychwynodd y mwyafrif o'r ymfudwyr tua Pittsburgh am 12 o'r gloch y dydd Mawrth canlynol gyda y rheil-ffordd.

Cymhellwn sylwadau canlynol y Llywydd Snow am y ffordd newydd hon i sylw ein darllenwyr:—"Cyrhaeddodd yr agerfâd "Equinox i'r ddinas boreu dydd Iau, y 17eg o Fai, a thua dau cant o gwmpeini y "Juventa, yn ngofal yr Henuriad Wm. Glover; hefyd y mae yn o debyg y cyrhaedda tua chant a hanner ar y "Washington City [ager-fâd], dan lywyddiaeth yr Henuriad Guyman cyn yr elo hyn i'r wasg. Mae cwmpeini yr Henuriad Glover wedi dyfod drosodd o Liverpool i'r ddinas hon mewn 46 o ddyddiau. Nifer y cwmpeini pan yn cychwyn oddiyno oedd 572 o eneidiau, ac ni chollwyd un enaid er i'r frech goch ledaenu peth yn mhlith y plant. Mae yr oll sydd wedi cyrhaedd, a'r gweddill sydd ar ol, cyn belled ag y deallwn, yn gryf, iachus, llawen a diolchgar i Dduw Israel am ei drugaredd a'i gadwraeth o honynt. Rhydd y pethau hyn brofion diammheuol o blaid y ffordd newydd, ac nid oes ammheuaeth na chadarnheir hyny gan bob cwmpeini dyfodol. Er ei sicrhau yn ffaith ddiammheuol, dywed yr Henuriad Glover fod ganddo dri yn ychwanegol yn ei gwmpeini, a 50 doler yn fwy yn ei gôd pan gyrhaeddodd yma, na phan y cychwynodd!"

Sylwa y Llywydd F. D. Richards ar y tystiolaethau uchod fel hyn:—"Yr ydym yn cymhell i sylw ein darllenwyr lythyr yr Henuriad Wm. Glover, Llywydd y Saint a ymfudasant ar y Juventa, a mynegiad y Llywydd E. Snow o gyrhaeddiad yr holl gwmpeini i Philadelphia, a rhan o honynt i St. Louis, heb golli un enaid allan o 572. Pe chwilid cofiaduron yr ymfudiad o borthladd Liverpool am lawer o'r blynyddau mynedol, meddyliwn na cheir un enghaifft o gyffelyb ddygwyddiad. Yn wir, y mae yn achos digonol i'r Saint ddiolch am, a gorfoleddu yn naioni a gallu yr Arglwydd yn eu gwaredu yn barhaus rhag yr elfenau cynddeiriog, a rhag heintiau a chlefydau pan yn croesi y

môr." Yma dyry ein Llywydd amryw ddyfyniadau o lythyrau, yn hysbysu am fawr ddaioni Duw tuag at y llongaid o Saint a gychwynasai yn ddiweddar o St. Louis i Kansas, drwy arbed eu bywydau oll o afaelion y Cholera, yr hwn oedd yn difrodi ereill oddiamgylch iddynt yn erwinol, ni chaniatâ ein cyfflniau le iddynt oll; ond ein Llywydd a ddywed yn mhellach,—" Mae yr Arglwydd yn ei gyfrif yn fusnes berthynol iddo Ef ei hun i ofalu dros iachawdwriaeth dymmorol yn ogystal ag ysbrydol ei bobl, ac i'r perwyl hwn y mae Swyddfa wedi ei sefydlu yma yn Liverpool, er edrych ar ol lleshâd y Saint ymfudol. Rhoddir hyn o ofal ar ryw berson a apwyntir gan y Brif Lywyddiaeth. Trefnir busnes y Swyddfa hon yn ol eu cynghor, ac y mae eu bendith hwy a ninnau ar ei holl weithrediadau."

Yma efe a ddesgrifia y sylw manwl a gymmerir i gael llongau cysurus a bwydydd iachus i'r Saint ymfudol, ynghyd â dynion Duw idd eu dysgu, ac i gadw trefn, a chael dylanwad a llywodraeth yr Ysbryd Glân ar yr oll, a charthu allan bob drygioni; mai yma y mae doethineb, ac na ymfuder mewn un ffordd arall, fel y bydder tan ofal gweision Duw, ac yn wrthddrychau gweddi y ffyddloniaid yn Seion ac yn Babilon dros eu gwaredigaeth. Mae y dyddiau drwg eisoes wedi gwawrio, ac ânt yn waeth-waeth hyd nes na ddiango neb ymfudwyr ond trwy allu dwyfol yr Offeiriadaeth, a'u cyfammod â Duw, rhag y dinystrydd sydd yn marchogaeth gwyneb y dyfroedd, ac yn claddu yn eu dyfnderoedd y drygionus a'u ffieidd-dra o olwg Arglwydd Dduw y lluoedd. Y Saint a feiddiant fyned dros y môr yn mhlith y cenedloedd, tra y mae ein cynghor yn groes, a andwyir gan ddylanwadau y tywyllwch; a byddant agored i glefydau a heintiau y Babiloniaid, a phan yn rhy ddiweddar arnynt, cofiant mai pell ydynt oddiwrth yr Arglwydd, a dyoddefant y canlyniadau.

Prawf y ffaith o fod rhwng 90 i 100 o longeidiau o Saint wedi eu hanfon o'r Swyddfau heb gyfarfod â nemawr ddrwg, a chyn lleied o farwolaeth, mewn cydmariaeth â llongeidiau o ymfudwyr ereill, fod bendith a gallu yr Arglwydd yn eu dilyn, a dengys yr anghenrheidrwydd am lywodraeth a threfniadau yr Offeiriadaeth santaidd gymmaint manylach ag yw yr amser yn myned yn fwy peryglus. Lleshâd penaf a diogelwch sicraf y Saint yw unig ddyben ein Llywyddiaeth wrth wneuthur hyn,

ac annoga hwynt yn mhellach i anfon eu henwau, hoedran, &c., yn brydlon i'r Swyddfa, fel y rhybuddier hwynt yn amserol i ymfudo.

## HELYNTION Y BYD RHYFELAWG.

DYWED y Llyngesydd Lyons iddo gymmeryd 241 o longau ag oeddynt yn ngwasanaeth Rwsia, mewn ystod pedwar diwrnod cyn Meh. 2, heblaw pedwar o agerfadau rhyfel, a llawer iawn o luniaeth, heb golli un bywyd. Dywed ei fod hefyd wedi dyfetha yn ystod y tri diwrnod cyntaf yr aeth i fôr Azoff dros gant o longau, amryw o'r prif borthladdoedd a digon o ymborth i gynnal can mil o wyr am bedwar mis, sef yr hyn a fwriadesid i'r fyddin sydd yn Sebastopol. Ar nos yr 8fed o'r mis hwn cymmerodd y byddinoedd unol rai o brif dŷrau allanol i Sebastopol yn cynnwys 62 o fagnelau a 400 o garcharorion. Mae y Llyngesydd Seymore a'i lynges yn yspïo yn graff am fantais i ymosod ar Cronstadt yn y Baltic, yr hon ddinas a ymddengys ond cruglwyth o fagnelau a milwyr wedi cael eu pentyru ar eu gilydd yn mhob dull a dyfais a duedda i'w gwneyd yn ddychryn i'w gelynion—o bob cŵr o honi ysgyrnyga dannedd ei chŵn rhyfel yn fwy uthr nac yn Sebastopol, tra mae gwyneb ei phorthladd yn amdoedig â rhyfel longau. Mae Amherawdwr Rwsia wedi sefydlu yspïenddrych ar ben un o binaclau y brif ddinas, drwy yr hon y gwel yr hyn a wnelir yn Cronstadt, ac felly mae ei elynion wedi cyrhaedd i'w olwg tra ar ei orsedd, er hyny dywed efe wrthynt drwy gadernid Cronstadt, fel y dywedodd Xerxes gynt wrth dònau y môr, "hyd yma y deuwch a dim yn mhellach;" etto ymddengys y Llyngesydd Seymour mor anufydd i'r Czar ag y bu y cynddeiriog dònau iddo yntau. Yr haf hwn a derfyna y pwnc hwn yma ond odid!

Mae y Cholera mor awchus â'r cleddyf i fedi y byddinoedd unol oddiar fryniau y Crimea, a'u cludo i'w hysgubor wancus tu draw i'r llèn.

Dyoddefa y byddinoedd yn enbyd o anghen dwfr, eithr bwriedir anfon iddynt beiriant o Loegr, ar ol iddynt drengu fel arfer, a ddioda tua 40,000 y dydd, drwy groni y dwfr hallt.

Mae Rwsia wedi dyhysbyddu Poland o'i mhilwyr i borthi Sebastopol hyd nes na welir nemawr filwr ar hyd ei gororau mwy. Mae Awstria fradwrus yn prysur ddynoethi y cleddyf a guddiai dan ei chochl cyhyd—cyhoedda ei hun yn rhydd ar ol methiad cymmanfa Vienna oddiwrth ei haddewid flaenorol i ymladd yn erbyn Rwsia, a chrynhöa ei byddinoedd wrth y dwsin o gatrawdau ar unwaith o Gallicia, &c., yn nes i'r rhyfel lawr, ac ysgoga yn amlwg o blaid Rwsia. Cofus iddi gael cenad, yr haf diweddaf, pan y gyrai Omar Pasha y Rwsiaid blithdraphlith o'i flaen o Wallachia, i sefydlu ei byddinoedd yno, yr hyn a rwystrodd i'r gwron hwnw gwblhau y fuddygoliaeth oedd ar

ei gyfer ar y Rwsiaid heb gymhorth neb; mae y byddinoedd hyny yn cadw y fan hono yn awr yn meddiant Awstria, ac felly bydd yn meddiant Rwsia etto pan yr ymuna y flaenaf â hi, fel y mae yn debyg y gwna. Cwestiwn!—Pa fodd yr absennola Prydain a Ffrainc y rhai hyn o'r wlad hono pan y troa hi yn eu herbyn? Pwy a etyb? Costia byr olygon ein Llywodraeth yn hyn fwy o fywydau nag a allant hebgor i'w ddadwneyd, ond odid! Ond yno y maent.

Yn yr Unol Daleithiau mae y terfysgwyr caethfasnachyddol, yn Missouri a Kansas yn ymgorffoli yn fyddinoedd parodol i gyd-gario i weithrediad y bygythiadau creulonaf a ddichon creulondeb ei hun ddyfeisio yn erbyn y rhyddid geiswyr gogleddol; gelwir ar y Llywodraeth i anfon byddinoedd yno i'w darostwng, a bygythiant hwy y rhai hyny â diddymiad. Bygythia eu herthyglau ddinystr y wasg, ac alltudiaeth drwyadl yr wrthblaid o Missouri a Kansas, neu eu lladd.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Amseryddiad Cymmanfaoedd y Deheudir.—Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg yn Merthyr ar y 1af o Orph., Brycheiniog ar yr 8fed, Mynwy ar y 15fed, Gorllewinol Morganwg ar yr 22ain, Llanelli ar y 29ain, Caerfyrddin ar y 5med o Awst, Aberteifi ar y 12fed, Gogledd Penfro ar y 19eg, a Deheu Penfro ar y 26ain.

Derbyniadau am Lyfrau o Mehefin 7 hyd 18.—Edw. Middleton, £1 15s; C. Harmon, £1 12s 6c; A. L. Jones, £4 6s 10c; Thos. D. Evans, 10s.

☞ Dymuna y Bugail John Parry hysbysu y Saint fod John Roberts a Margaret Owens, Bethesda, wedi cael eu torri allan o'r Eglwys am droseddu cyfraith Dduw.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

CYNNWYSIAD.



ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 14.] GORPHENAF 7, 1855. [CYF. VIII.

## RHODDION AT Y DEML.

*(Allan o'r "Star.")*

Yn 1851 galwodd y Brif Lywyddiaeth ar y Saint yn yr Ynysoedd Prydeinig am gyfraniad blynyddol tuag at adeiladu Teml yn Ninas y Llyn Halen Mawr, a nodasant swm a ystyrient yn fraint i'r Saint yn Ewrop i gael ei gyfranu i'r Arglwydd tuag at y dyben cyssegredig hwn. Gosodwyd symiau cyfartal i'w rhif ar yr holl Gynnadleddau, ac yn 1852 cyfranwyd yr hyn a ofynwyd, a mwy mewn rhai Cynnadleddau. Yn 1853 lleihauwyd tua y drydedd ran, a llai fyth y flwyddyn ddiweddaf. Mae yn o debyg mai un o brif achosion hyn oedd y cyfnewidiadau a wnaed mewn Bugeiliaid a Llywyddion Cynnadleddau. Drwg genym na throsglwyddwyd y mater yn ddigon amlwg i sylw eu holynwyr; mae y Saint tan eu gofal hefyd, i raddau helaeth, wedi colli golwg arno.

Dyna rai o'n rhesymau dros ail osod y mater hwn gerbron y Saint y tro yma.

Eglurwn yn awr rai o lawer o'r egwyddorion cyssylltiedig â'r rhodd hon. Hyderwn y dwys ystyria y Saint y pwnc hwn, gan na pherthyna ond i'r rhan weithredol o'u hiachawdwriaeth bersonol hwy, eu mheirw yn myd yr ysbrydoedd, y rhai ydynt yn hiraethu am ddydd eu prynedigaeth hwy, a'u cenedlaethau ar eu hol.

Gwybyddus i'r Saint yn y gwledydd hyn yw, fod yn mhlith cynnifer o amcanion ereill sydd i'w cyflawni yn Seion, y

brodyr yn prysur ymdrechu i adeiladu Teml. Gwnant hyn nid yn unig iddynt eu hunain, eithr i'r holl ffyddloniaid gwasgaredig dros wyneb y ddaear, fel pan gwblhäont waith mawr parotoadol yr ymgasgliad, y byddo pob peth yn barod iddynt i fwynhau dymuniad mawreddog eu calonau, sef i dderbyn Allweddau, Galluoedd, ac Ordinhadau yr Offeiriadaeth Santaidd.

Nid talu eu Degwm yn unig mae y Saint, un ran o ba un, sef degwm gweithio, sydd yn cyrhaedd deg neu bymtheg punt yn flynyddol, ond y maent yn gosod ar yr allor yr oll a feddant, drwy ei gyssegru i fod yn wasanaethyddol unrhyw amser er hwyluso y gwaith. Tra y cymhwysant bob peth felly at ddwyn oddiamgylch iachawdwriaeth y Saint yn y gwledydd hyn, yn ogystal a'u gwlad eu hunain, yn sicr ni fydd eu brodyr Ewropaidd yn ol o dalu yr ychydig a ddysgwylir oddiwrthynt, a'r hyn ni fydd ond ychydig geiniogau ar gyfartalwch i bob un.

Nid anhysbys i ni yw fod rhan fawr o'r Saint yn dlodion y byd hwn, eithr cofus genym hefyd fod rhai o honynt yn gyfoethog, a bod llawer o honynt mewn amgylchiadau cysurus. Adgoffwn iddynt y fod dull o gyfranu nad yw yn amddifadu, eithr y dychwela yr hyn a roddir mewn bendithion wedi eu hychwanegu ar ben y cyfranwr, tra y mae hefyd ddull o ymattal a ddiwedda mewn tlodi. Yr enaid haelionus a fed gynhauaf helaethlawn fel ffrwyth i'w lafur, tra na fydd gan y trachwantus a'r gwastraffus ddim mewn ystôr erbyn y dyfodol.

Tra y mae rhai Saint nad allant gyfranu ond ychydig geiniogau, y mae ereill a allant cyn hawdded gyfranu sylltau, ac ereill bunnoedd, tuag at yr amcan pwysig hwn. Nid yw yr Arglwydd yn sylwi cymmaint ar y swm a roddir ag yw ar yr aberth a wneir wrth ei roddi; am hyny, os yw y cyfoethog am fwynhau cyfuwch bendithion â'r tlodion, teilynged hwy drwy aberthau cyferbyniol. Os cyd-weithreda yr holl Saint yn Ewrop ag sydd a modd ganddynt yn unol â'r egwyddor hon gydag ewyllysgarwch, cânt a fynont o esiamplau gan y tlodion ag ydynt deilwng o'u hefelychiad, ac o hyn allan ni fyddir yn ol o gael y swm a ofynir.

Pan y cwblheir Teml, bydd y bendithion a gyfrenir yno yn eiddo y cyfryw a brofasant eu hunain drwy eu gweithredoedd yn deilwng o honynt, a dysgwylied y rhai na theilyngant ond ychydig am dderbyn yn gyferbyniol. Pe gallasai ddygwydd yn

ddamweiniol i ryw ychydig o'r cyfryw ag ydynt gybyddlyd ac hunanol eu hegwyddorion, gyrhaedd yr un breintiau â'r teilwng, byddai yn gyffelyb i daflu per au o flaen y moch, ni werthfawrogid y bendithion, a throent yn fellditiion iddynt, fel y try pob peth a fedd dyn ar nad yw yn ei ddefnyddio mewn cyfiawnder drwy ymwellhau arno.

Amryw a brofant nad yw yr Arglwydd mor hael ar y bendithion a berthynant i fywyd tragywyddol, fel ag i'w tywallt ar y rhai nad ydynt foddlawn i aberthu yr ychydig a feddant yn awr er eu derbyn. Rhai sydd yn myned tua Seion ac yn eu trachwant yn hòni pob bendith, ordinhad, a gallu, am y rhai y treiliodd yr Iesu, Joseph, a'r merthyron eu bywydau mewn caledi, ac a fuont farw er eu hennill i'r ffyddloniaid, a braidd y cyffyrddant â beichiau yr Eglwys â chymmaint ag un o'u bysedd. Agos yw y dydd pan y mêd dynion yn ol yr hyn y maent yn hau.

Os yw y Saint am fyned i Seion ag Ysbryd yr Arglwydd yn llosgi yn eu mhynwesau, os am fyned yno ag eneidiau haelionus ac ëang, digon ëang i sugno i fewn ac ymfwynhau yr egwyddorion pur a ddysgir ac a arferir yno, dyma y lle i ddechreu ymëangu, drwy alw eu ffydd i weithrediad bywiocäol, trwy gynnyddu eu hymddiried yn Nuw, trwy ei brofi Ef, a gwybod drostynt eu hunain ei fod Ef yn bendithio yn helaethaf o bawb mewn pethau ysbrydol a thymmorol hefyd, y cyfryw ag ydynt yn ceisio yn gyntaf adeiladaeth ei deyrnas Ef.

Ffaith yw, i'r hon y mae amryw brofion, ac i'r hon y mae miloedd o dystion, y fod y Saint yn y mynyddau yn ymgyfoethogi trwy fod yn haelionus. Y rhai cyssonaf yn talu eu degwm, yr haelionusaf i'r tlodion, a'r rhai sydd barod bob amser i gyflawni unrhyw amcan er lleshâd y cyhoedd, sydd naill ai wedi ymgyfoethogi trwy ddilyn y cyfryw lwybr, neu ydynt yn prysuro i fod felly. Gweithia yr egwyddor hon yma gystal ag yn Utah, yn gyferbyniol i ffydd y Saint, a'r amgylchiadau ffafriol yn mha rai y bodola. Fel y mae gyda phethau ysbrydol, felly hefyd gyda y tymmorol, po oreu eu defnyddir po fwyaf y cynnyddant.

Y mae gan y Saint i ddysgu pa fodd i wasanaethu Duw â chalon anymranedig, trwy aberthu Mammon yn barhaus, yr hwn mae y byd yn ei addoli. Os na pheidiant a gwneyd hyny,

anghofiant yr Arglwydd eu Duw, mae ei Ysbryd yn eu gadael, ac y maent yn sychu, gwywo, a myned yn anffrwythlon. Ymddangosai braidd yn ormodol i wasgu y pwnc mor agos at feddyliau y Saint, ond gwybyddus genym fod llawer o ofalon a ymddangosant yn agosach a phwysicach iddynt i dynu eu meddyliau oddiar y gweithredoedd mawrion y dysgwylir eu gwneuthur yn y deyrnas hon. Ordeiniodd yr Arglwydd fod i Demlau gael eu hadeiladu i'w enw Ef, yn mha rai y cyfrinachai â'i weision, ac y gweinyddai i'w bobl fendithion bywydau tragywyddol. Yn y cyfryw adeilad, pan ei cwblheir, yn *bwysicaf*, y sefydlir gobeithion y cenedlaethau a aethant heibio, lleshâd tragywyddol y rhai presennol, a'r rhai sydd etto i'w hychwanegu i'r sefyllfa hon o brawf. Ni ymddengys yr ychydig a ddichon y Saint tlawd, ond ffyddlon, wneuthur yma ond bychan pan ei ystyrir yn unigol, etto fe deimlir ei ddylanwad mor llydan â thragywyddoldeb, ac a osodir i ddwyn oddiamgylch iachawdwriaeth llawer. Er na ddichon rhai byth weled yn y bywyd hwn y Tŷ a gynnorthwyant ei wneuthur, nid llai y sefydlant eu gobeithion yno, canys yn y fath Dŷ yn unig y gellir rhoddi iddynt etifeddiaeth o deyrnas nefol drwy offerynoliaeth ereill.

Ni ychwanegwn ar y pwnc hwn yn bresennol, eithr gadawn ef i Fugeiliaid a Llywyddion Cynnadleddau, ac hyderwn yr argreffir ar lechau calon pob Sant ffyddlon sydd yn dysgwyl iachawdwriaeth yn y ffordd iawn, sef trwy foddloni i'w gweithio allan ei hun, yn lle ymddibynu ar weithredoedd da rhai ereill, canys "o'r braidd y bydd y mwyaf ffyddlon yn gadwedig." Y mae gwaith yr Arglwydd yn ymhwyluso, ac fe gaiff y rhai diog ddeall y fod y diwyd wedi cymmeryd eu llefydd, a phan yn y diwedd y curant wrth borth y Ddinas Santaidd am ollyngfa i mewn, fe'u hatebir "*Nid oes genych etifeddiaeth yma!*"

---

## CYMMANFA OGLEDDOL PENFRO.

Fe gynnaliwyd y Gymmanfa uchod yn Summer Hill, Treletred, Mai 20, 21, pryd yr ymgasglodd y rhan amlaf o'r Saint, ac amryw o'n cyfeillion. Pregethodd yr Henuriaid T. D. Evans, D. Davies, a J. J. Phillips yn wresog ar egwyddorion defnyddiol. Cymmeradwywyd holl awdurdodau yr Eglwys yn ddi-

eithriad. Cynnrychiolwyd 4 Cangen, 11 o Henuriaid, 2 o Offeiriaid, 1 diacon, 1 wedi ei fedyddio, 2 wedi ei torri allan, 10 wedi ymfudo, ac un wedi marw; y cyfanrif yn 32. Nid oedd nemawr o gyfnewidiadau yma, ond cafodd y brodyr J. Evans a T. Foot eu rhyddhau o deithio trwy y Gynnadledd. Gellir dweyd, yngwyneb holl galedwch y byd yn erbyn y Saint, eu bod yn penderfynu gwneyd eu goreu tra y bydd yr Arglwydd yn gweled yn dda iddynt fod yma. Bendith Iôr a fyddo ar holl blant Duw, medd yr eiddych yn ddiffuant,

T. D. Evans, *Llywydd*,
Thos. Evans, *Ysgrifenydd*.

---

## CYMMANFA DDEHEUOL PENFRO.

Cafodd y Gymmanfa uchod ei chynnal yn Penfro, Mai 27, pryd yr oedd y Llywydd D. Jones yn bresennol. Pregethodd y Llywydd J. Price y fod ufydd dod trwyadl i'r Offeiriadaeth santaidd yn hanfodol er perffeithiad y Saint, a thystiodd mai Prophwydi Duw yw Joseph a Brigham. Cymmeradwywyd yr holl awdurdodau fel arferol gyda phleser ac yn ddieithriad. Sylwodd y Llywydd Jones ar undeb digyffelyb y Saint,—o ba le y *rhaid* cyfaddef iddo ddyfod, gan na cheir ei fath ar y ddaear. Mynegodd ei adnabyddiaeth bersonol ag awdurdodau yr eglwys, eu bod yn ddynion pur a rhinweddol, mewn llawer profiad chwerw a dyoddefiadau er mwyn yr efengyl, er holl gyfarth cŵn y byd i'w herbyn, dros y pwlpud a thrwy y Wasg. Pregethodd amryw frodyr ar yr egwyddorion cyntaf yn ystod y gweddill o'r dydd, a'r Llywydd Jones ar wŷrdröad y byd o drefn Duw, yn gosod llais y bobl yn lais Duw, tra mai llais Duw sydd i fod yn llais y bobl fel ei dadguddir iddynt. Pan lefaro yr Arglwydd o'r nefoedd, gwrandawed trigolion y ddaear arno drwy ei weision y prophwydi, cenadwri y rhai yw yn mhob oes "Fel hyn y dywed yr Arglwydd," ac mae yr un genadwri mor bwysig yn yr oes hon,—yr un bendithion a sierwydd o gymmeradwyaeth yn dilyn ufydd-dod iddi, a'r un melldithion yn ganlyniadau o'i gwrthod.

Ei bregeth arall oedd ar "Ffydd fywiol"—mai drwy glywed gair Duw yn *unig* ei cenedlir, a gair Duw drwy *dystiolaeth* ei weision anfonedig yn unig, gan nad yw yn cymmeradwyo neb

ond y cyfryw a *anfona*; ni anfonodd, ac ni anfona un gwas heb hysbysu iddo y genadwri a draetha. Y prawf o fodoldeb ffydd yn y meddwl yw gweithrediad y corff i gyflawni yr hyn y *creda* ynddo: gan mai y meddwl sydd yn llywodraethu y corff, anufydd dod y corff a brawf anffyddiaeth y meddwl. Rhoddodd ar ddeall i'r Saint, ynte, o ba le y mae tarddiad eu ffydd, a'r unig ffordd i'w pherffeithio, neu i feddu y ffydd a'u cadwant i fywyd, sef drwy ufydd-dod i'r hyn a ddysgir.

Ni fuwyd yn ddiffygiol o osod gerbron y casgliadau at y Deml, y Drysorfa Ymfudol, yr Arian-dŷ, &c., ynghyd a'r ddyledswydd o ledaenu y gair argraffedig, ac nid llai diffygiol oedd y brodyr mewn penderfyniad i'w cyflawni.

Y cynnrychioliad oedd fel hyn:—Cangenau 12, Hen. 28, Off. 5, Ath. 2, Dia. 7, Bedyddiwyd 14, Ysgymunwyd 2, Ymfudodd 9.—Cyfanrif 147.

J. PRICE, *Llywydd.*
J. GIBBS, *Ysgrifenydd.*

---

## CYMMANFA SIR FFLINT.

FE gynnaliwyd y Gymmanfa uchod yn Rhosllanerchrugog, ar y 27ain o Fai. Cynnaliwyd Cynghor yn y boreu i drefnu pethau a berthynent i'r Gynnadledd. Yna cynnrychiolwyd y Cangenau fel y canlyn: Hen. 18, Off. 3, Ath 4, Dia. 2, Ysg. 2, Ymf. 7, Der. 1, Bed 14. Cyfanrif 123. Yna gosodwyd yr awdurdodau gerbron fel arferol; edrychwyd yn fanwl i gyfrifon y llyfrau, a chafwyd fod rhai Cangenau yn ol. Wedi hyny cafwyd addysgiadau buddiol gan yr Henuriaid D. Daniels. J. Parry, ac L. Davies ar ein dyledswyddau y chwarter dyfodol mewn perthynas i'r llyfrau, y trysorfeydd, a phob rhan arall o'n dyledswyddau

Am ddau, dechreuwyd trwy ganu a gweddio, ac o herwydd fod y lle yn rhy fychan, aethpwyd allan, a daeth torf liosog ynghyd, a gwrandawsant yn astud ar y brodyr Wm. Rees, John Parry, D. Daniels, ac L. Davies.

Am chwech pregethodd y brodyr canlynol yn ddoniol, sef D. Jones, Bagillt, T. Jones, Brynbo, J. Parry, D. Daniels, ac L. Davies, ar wahanol egwyddorion yr efengyl; gwrandawodd pawb yn syml, ac ymddangosent yn siriol ac wrth eu bodd. Yr

oedd pregethu am 5 o'r gloch mewn lle arall hefyd, gan Edwin Price ac L. Davies, i dyrfa liosog. Dangosodd y gymmydogaeth garedigrwydd mawr mewn cynnorthwyon. Gellir dweyd gyda priodoldeb mai Cymmanfa dda ragorol oedd, a chafwyd hwylusdod neillduol i lefaru.

LEWIS DAVIES, *Llyw dd,*
JONATHAN ELLIS, *Ysgrifenydd.*

---

## CYMMANFA SIR DDINBYCH

YN Nghapel y Saint, Newmarket, y cynnaliwyd y Gymmanfa uchod, Meh 3. Rhoddodd y Llywydd Parry annogaethau dwys i'r Saint i ffyddlondeb, ac addunedwyd cyfranu cyflog diwrnod o waith tuag at dalu am y cyfrolau toredig sydd ar law yn y cangenau; hefyd i dalu y gofyniadau at y Deml, &c. Pregethwyd yn effeithiol gan y Llywydd Daniels, ar sefydliad Teyrnas Dduw yn y dyddiau diweddaf hyn, a thystiodd mai ei phrif swyddwyr,—prophwydi Duw oedd Joseph Smith a Brigham Young, &c.

Y cynnrychioliad oedd fel y canlyn :—Cang. 5, Hen. 13, Off. 4, Ath. 4, Diac. 2, Ysg 1, bu farw 1, ymfudodd 2, bedyddiwyd 2.—Cyfanrif 111.

JOHN PARRY, *Llywydd,*
G. ROBERTS, *Ysgrifenydd.*

---

## CYMMANFA SIR FEIRIONYDD,

CYNNALIWYD y Gymmanfa uchod yn Nhowyn, ar y 17eg o Fehefin. Bu pump o gyfarfodydd yn ystod y dydd. Dangoswyd cymmeradwyaeth unfrydol i awdurdodau yr Eglwys. Penodwyd y brawd Richard Swancot i deithio trwy y Gynnadledd, i bregethu, traethodu, a thystiolaethu o dŷ i dŷ. Gallwn ddywedyd mai dymunol oedd ein Cymmanfa.—cariadlawn a phenderfynol oedd y Saint, a'r gwrandawwyr yn lliosog a boneddigaidd, a chafwyd tywalltiad helaeth o'r Ysbryd Glân gyda phregethau ac addysgiadau rhagorol y Llywydd Daniels, a'r Henuriaid D. Roberts, E. Roberts, Thos. Jones o Aberystwyth, &c., hyd nes y dywedwyd—" Dyma y Gymmanfa oreu a gawsom yma erioed."

Cynnrychiolwyd 6 Cang., 14 Hen., 6 Off., 2 Ath., 2 Ddia., 8 wedi ei fedyddio.—Cyfanrif 74.

Dysgwyliwn yn bryderus y medwn cyn ymadael o'r rhan hon o winllan Crist.

JOHN DAVIES, *Llywydd*,
JOHN JONES, *Ysgrifenydd*.

---

## CYMMANFA DYFFRYN CONWY.

CAFODD y Gymmanfa uchod ei chynnal yn Llandudno, Meh. 10, pryd y cynnrychiolwyd 6 Cangen, 22 Hen., 7 Off., 3 Ath., 2 Ddia., 2 wedi eu bedyddio, 11 wedi ymfudo, 1 wedi marw.—Cyfanrif 94. Pregethwyd yn yr awyr agored gan y Llywyddion D. Daniels a Wm. Lewis, yn nerth yr Ysbryd Glân, a chafwyd gwrandawiad da gan gynnulleidfa liosog iawn, ac yr oedd yr olwg arnynt fel pe buasent yn derbyn y gair. Pregethwyd drachefn yn yr hwyr gan y brodyr Wm. Lewis a J. Parry yn effeithiol i dorf liosog. Rhoddwyd addysgiadau gwerthfawr gan y Llywyddion Parry a Daniels, a chafwyd fod bywyd adnewyddol wedi ei greu yn y Saint a'r swyddwyr.

WM. LEWIS, *Llywydd*.

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

## DYDD SADWRN, MEHEFIN 23, 1855.

PREGETHU YR EFENGYL.—Crefwn sylw neillduol ein brodyr yn y weinidogaeth at y ddyledswydd arbenig a phwysig o rybuddio eu cyd-ddynion o ddynesiad awr barn Duw ar y byd, ynghyd a dangos iddynt yn eglur a pharhaus yr unig waredigaeth a gynnygia Duw iddynt drwy ufydd-dod i'r genadwri nefol olaf hon. Deffroed Llywyddion Cynnadleddau a Changenau i'r cynheuaf mawr; achuber y tymmor hafaidd a gwerthfawr presennol i bregethu allan yn mhob man lle y ceir gwrandawiad, a than bob amgylchiad a fo llesiol. Cadwer arfau yr Henuriaid a'r Offeiriaid yn loyw drwy ddefnydd parhaus. Ni

hyawdledd nac amledd areithiau a ofyna Duw yn yr amser prysur hwn, ond eich *tystiolaethau* didderbyn wyneb eich hunain, frodyr ! o barthed i'r hyn a wyddoch, ac a dderbyniasoch oddiwrtho Ef, a'r ffordd y cawsoch chwi hwynt, a'u bod yn gyrhaeddadwy i'ch gwrandawwyr.

APWYNTIADAU —Dealler ein bod ni wedi cymmeryd at Lywyddiaeth Cynnadledd Orllewinol Morganwg ein hunain, am yr amser presennol, ac nad oes i'r Llywyddiaeth flaenorol na rhan na chyfran mewn dim o oruchwylion, materion, na moddion y Gynnadledd, ac na chydnabyddwn unrhyw daliadau a wneir iddynt mwyach. Ceir clywed chwaneg etto os gorfodant ni i hyny drwy ŵyrgamrwydd.

Mae yr Henuriad Thomas Harries wedi cael ei ethol a'i osod yn Gynghorydd blaenaf yn Llywyddiaeth y Gynnadledd hon.

Mae Wm. Lewis, o'r Swyddfa hon, wedi cael ei osod yn brif ddosparthwr y Gynnadledd yn lle A. L. Jones, ac o hyn allan anfoned îs-ddosparthwyr y Gynnadledd hon bob taliadau am lyfrau i Wm. Lewis.

---

ETTO.—Hysbyswn fod yr Henuriad William Lewis, Môn, wedi cael ei awdurdodi i lywyddu Cynnadleddau Dyffryn Conwy a Môn, ac yr ydym yn cymmeradwyo hyny, gan annog yr holl Saint i ufyddhau i'w gynghorion, diwallu ei anghenrheidiau, a gweddio drosto; a'r Arglwydd a fendithio bawb a wnelo hyny, yw gweddi

Eich cyd-was yn y Deyrnas.

D. JONES, *Llywydd yr Eglwys yn Nghymru.*

---

## CAIS AT ATEB GOFYNIADAU AMOS CLARK, YN RHIFYN 13EG O'R "UDGORN."

MR. GOL.,—Dymuna eich gohebydd wybod yn gyntaf,—"Pa beth yw 'dawn yr Ysbryd Glân' a addawodd Pedr ar ddydd y Pentecost; beth oeddynt ei effeithiau?" Atebaf fod yr Ysbryd Glân yn sylweddol, yn bodoli mewn cyflawnder anfesuradwy; y mae yn holl bresennol, ac yn cyrhaedd trwy bob eangder, yr hwn sydd yn wahanol ronynau gwybodus yn ymgymmysgedig â phob sylwedd arall. Nid oes un sylwedd bywiocach yn holl greadigaethau Duw nâ'r sylwedd gwybodus,

holl ddoeth, a hollalluog hwn a elwir yn Ysbryd Glân. "Dawn yr Ysbryd Glân" yw amrywiol o'r gronynau nefol hyn wedi ymgyfarfod o fewn y dyn, yr hyn sydd yn rhodd oddiwrth Dduw i'r rhai sydd yn ufyddhau i'w orchymynion. Ei effeithiau ydynt odidog—yn cyfnewid y dyn o ran ei anian, yn ei annog i ddweyd y gwir, i garu pawb, i wneuthur daioni, gweithredu cyfiawnder, ac yn ei gymhell i ddefnyddio yr aelodau a'r gallu ag oedd o'r blaen yn adeiladu teyrnas y tywyllwch, yn awr i adeiladu teyrnas Dduw, &c.,—Dyddanydd yw sydd yn cysuro y Saint tlawd a gorthrymedig, ac y mae ei effeithiau mor eglur arnynt, nes y medrant ganu yn ddiofid yn nghanol eu hadfyd,—yr ofnau a'r dychrynfeydd gynt, trwy ei nerth Ef, wedi cael eu hymlid ffwrdd, a pherffaith gariad wedi ei blanu yn eu lle; Efe a gynnydda awydd yn y dyn, i'r graddau ag y bo ei rym, i ddwyn pawb, ar gost pobpeth, i gael gafael arno. Mae y cyfryw a feddant gyflawnder mawr o hono yn ymddiried llawer yn eu Duw, fel Stephan gynt, yn "edrych yn *ddyfal* tua'r nef," ac weithiau yn canfod gogoniant Duw, a'r Iesu yn eistedd ar ei ddeheulaw. Y dyn sydd yn meddu y cyflawnder mwyaf o hono yw prif nôd holl saethau plant annwn: felly gynt, ac y mae yr un achos yn dwyn yr un effaith etto. Ei effeithiau ef oedd yr holl ddoniau ysbrydol a sonir yn y Testament Newydd am danynt, megys—ymadrodd doethineb, ymadrodd gwybodaeth, ffydd, dawn iachâu, gwneuthur gwyrthiau, prophwydoliaeth, gwahaniaeth ysbrydoedd, tafodau newyddion, a chyfieithad tafodau, breuddwydion, gweledigaethau, &c. Os bydd y brawd Amos Clark am ychwaneg o oleuni ar hyn, cyfeiriwn ef i'r "Eurgrawn Ysgrythyrol," ar y pen "Ysbrydol Ddoniau," tud. 247, ac nis gwn am un dyn diduedd a fethodd gael ei foddloni yno.

Yr ail ofyniad yw, "A ddichon dyn fod tufewn i eglwys Crist, ac etto fod yn amddifad o dystiolaeth yr Ysbryd Glân?" Dichon; er enghraifft, pe byddai rhyw foneddwr yn mabwysiadu plentyn i'w deulu, i gael ei ystyried yn blentyn iddo, dichon nad ystyriai y boneddwr yn ddoethineb i roddi iddo bob peth yr un fath â'r lleill o'r teulu ar y cyntaf; mae yn bosibl mai bwyd gwan a atebai yn oreu i'w gylla, &c., etto ffoledd fyddai iddo feddwl nad oedd yn un o'r teulu am na chaffai yr un bwyd, ac os grwgnachai dichon na chaffai ddim, a'r canlyn-

iad fyddai iddo gael ei droi allan wed'yn. Dyry tad doeth "laeth" i'r baban, a "bwyd cryf" i'r cryfion, etto mae y baban yn blentyn yn y teulu er nad yw yn gwybod hyny. Felly yn nheyrnas Dduw, gall dyn fod tu fewn iddi heb fod yn *gwybod* ei fod; ond os bydd iddo glywed y lleill yn tystio hyny, a gweled y lleill yn mwynhau y bendithion addawedig, dyna sail iddo yntau osod ei ffydd mewn gweithrediad, heb ammheu dim, a cheisio nes cael,—yna mae y dyn wedi gwneyd ei ran—y mae tu fewn i'r eglwys, ac ni fydd Duw yn ol o gyfranu iddo yntau bob "dawn" yn ei amser prydlon ei hun—Efe a wyr yr amser oreu.

Y trydydd ofyniad yw,—"Yn mha gyflwr y mae dyn wedi y caffo ei fedyddio er maddeuant pechodau hyd oni dderbynio efe yr Ysbryd Glân?" Mae y dyn hwnw mewn cyflwr diogel, os oedd y gweinyddwr wedi derbyn awdurdod oddiwrth Dduw, ond nid yw mewn cyflwr mor ddedwydd hyd oni dderbynio *wybodaeth* y gwirionedd trwy Ysbryd Duw. Meddyliwch am droseddwr cyfraith wedi cael ei ddedfrydu i gael ei ddïenhyddio. Dacw'r truan mewn gofid trwm, heb un gobaith, ond y mae yn cael ei gymhell i anfon deiseb i ofyn i'r llywodraeth i'w ryddhau; wedi i'r ddeiseb fyned y mae efe etto yn ofidus, gan ystyried fod dydd ei ddïenhyddiad yn nesâu; wedi i'r llywodraeth ei ryddhau, dywed trigolion y ddinas,—"Mae y dyn hwnw yn sicr o fod yn teimlo yn ddedwydd iawn yn awr, wedi iddo gael ei achub:" nac ydyw! y mae efe yn yr un sefyllfa ofidus fyth, o herwydd nad oes neb wedi cyrhaedd â'r newydd hwnw iddo. Felly y mae dyn wedi cael ei fedyddio, er y gall fod yn fwy llawen nag o'r blaen, ond nid mor ddedwydd, hyd nes y derbynio *wybodaeth* trwy yr Ysbryd Glân, er fod ei bechodau wedi eu mhaddeu.

Dyna mi wedi gwneyd cynnygiad, yn fyr, i ateb y tri gofyniad blaenaf y tro hwn, gan ystyried y byddai yr oll yn rhy faith ar unwaith, ac os na theimla rhyw frawd galluocach i ysgrifenu atebiad cymhwysach, cewch y gweddill y tro nesaf, gan hyderu fod eich gohebydd o Rosianerchrygog wedi derbyn tystiolaeth trwy yr Ysbryd Glân cyn hyn, yr hwn a rydd fwy o foddlonrwydd iddo nag a all gael gan

Ei ostyngedig frawd,

*Gynt o Dre-Sior.* THOMAS HARRIES.

# IACHAWDWRIAETH FEUNYDDIOL.

*(Allan o'r "Millennial Star.")*

IACHAWDWRIAETH yw anghen y byd, a gwrthddrych ymchwiliad y Saint a ddylasai fod. Yr unig beth ydyw a brawf ei hun yn effeithiol a thragywyddol. Os cyflawnir mewn cyfiawnder y gweithredoedd a berthynant iddi, fel y treulir pob dydd diarosol, mae y ffyddlon wr wedi sicrhau ei iachawdwriaeth cyn belled, a chyhyd ag y gwna hyn, y mae yn myned yn mlaen tuag at berffeithrwydd, ac yn gwneuthur yr oll a allo, a'r oll y mae yr Arglwydd yn ofyn oddiwrtho. Dyma y ffordd, a'r unig ffordd sicr, i gael gafael ar roddion, galluoedd, ac ordinhadau yr Offeiriaidaeth, ac i ddyfod i wybodaeth o egwyddorion cynnyddiant tragywyddol. Ni achuba athrawiaeth yn unig mo ddynion, rhaid ei chyssylltu ag ymarferiad. Geill y Saint lefaru a chanu am bethau gwychion dyfodol er cyfnerthu eu ffydd a chysuro eu calonau yn yr awr bresennol o brofedigaeth a chystudd, eithr ni *fwynhant* iachawdwriaeth ond yn gyferbyniol i'w cyflawniad o'r llafurwaith sydd yn union o'u blaen ac yn agos iddynt.

Nid oes dim sydd yn fwy ei bwys i'r Saint nâ chadw eu cyfammodau, nid yn unig â'r Arglwydd, eithr â'u brodyr a'u chwiorydd, eu gwragedd a'u plant, ac â'r cenedloedd â pha rai yr ymgyfeillachant ac y masnachant. Y mae pob cyfammod a phob cytundeb a wneir yn unol â chyfreithiau y wlad yn mha un y triga y Saint yn rhwymedig, ac os ydynt am gael eu bendithio a'u llwyddo, yn dymhorol ac yn ysbrydol, gwneler yr oll a ellir i'w cadw yn ffyddlon bob amser.

Nid oes un cyfammod a wneir dan y cyfreithiau hyn o fwy pwys nâ'r cyfammod priodasol. Y mae llawer o'r byd, a rhai o'r Saint fe ddichon, yn ffurfio y drychfeddwl nad ydym ni fel pobl yn ystyried cytundebau priodasol a wneir yn ol cyfreithiau Lloegr, a gweledydd ereill, o nemawr rym. I'r gwrthwyneb, nyni a'i hystyriwn o'r pwys mwyaf fod y cytundebau hyn yn cael eu cadw yn ffyddlon hyd oni ryddheir hwy gan y cyfreithiau a'u rhwymasant, neu gan yr Offeiriadaeth, ac ni ymarfera yr olaf ei gallu yn y dull hyny ond yn Utah. Pa fodd y dysgwylia y Saint gadw cyfammodau a wneir dan Gyfraith Nefol

os profant eu hunain yn annheilwng o freintiau a bendithion un sydd yn llai, ac os na fyddant alluog i gadw cyfammodau a rhwymau y sefyllfa briodasol yn y lle rhwyddaf? Yr oll a ofyna yr Arglwydd gan ei greaduriaid yw iddynt gadw y cyfreithiau, a chyflawni rhwymedigaethau y cylch yn mha un eu gosodir. Os ceidw y Saint y cyfammodau a wnaethant dan gyfraith y wlad lle y trigant, mewn purdeb calon, ac yn ol y goleuni a'r wybodaeth a feddant, fe'i cyfrifir iddynt yn gyfiawnder. Yna addasir hwy i dderbyn cyfraith fanylach, o'r hon y byddant heb hyny yn annheilwng.

Dylai dynion sefyll yn eu llefydd wrth ben eu teuluoedd, a chofio yn wastadol nad gorchest ydyw bod yn feistr, ond mai peth mawr ydyw bod yn Dad. Am hyny, bydded eich holl gyfeillach â'r Saint, â'r byd, ac yn fwy neillduol â'ch teuluoedd, yn nheimlad tyner a chariadlawn Tad. Dylech ymbilio â'r Arglwydd mewn gweddi a gostyngeiddrwydd, fel eich galluogir yn gyntaf i lywodraethu eich hunain. Dyma y cam cyntaf a'r pwysicaf tuag at lywodraethu eich teuluoedd, neu unrhyw beth arall a fyddo dan eich gofal. Nid yw ysbryd tasg-feistr yn ysbryd yr efengyl, am hyny dylai penau teuluoedd roddi pob cerydd a roddant yn eu tai mewn ysbryd addfwyn a thawel, a dylent gofio mai yr ysbryd a ymarferant yn eu teuluoedd fydd y cyfryw ysbryd a lywydda yno.

Dywedwyd llawer am ysbryd dadguddiad, ac etto ychydig a'i hadnabyddant. Braint y Saint yw byw fel ag i dderbyn dadguddiadau yn barhaus ynghylch yr oll sydd anghen arnynt i wybod mewn trefn i droedio llwybr iachawdwriaeth feunyddiol, a llywodraethu mewn cyfiawnder yr oll a gyflwynwyd i'w gofal. Y mae gweithrediadau yr Ysbryd mor gydrywiol a rhwydd fel nad ydys yn sylwi arnynt lawer pryd, hyd oni orfoda chwerwder profedigaeth ni i ystyriaeth, a phryd hyny pan yn rhy ddiweddar y gwelir i'w rybuddion gael eu gwrthod. Nid yw ffyrdd yr Arglwydd fel ffyrdd dyn, ac am hyny fe gynnygia fain sibrwd yr ysbryd, yr hwn a roddodd Efe yn arweinydd i'w bobl, bethau er eu daioni, y rhai a dybiant hwy yn eu doethineb hunanol yn gyfeiliornus a gwarthus. Mae yr Ysbryd Glân yn gyfaill sicr a diledrith, a gwyn fyd y gwr a geisio adnabod

yllys, a dilyn ei dueddiadau, canys mae ei enaid wedi ei lanw â doethineb.

Anghofia rhai ar droion eu Duw yn nydd eu llwyddiant, a'
phan ddelo y drwg arnynt yn ddisymmwth, gwybyddant mai
pell yw Efe oddi wrthynt. Pan y maent hwy neu eu teuluoedd
yn glaf, cânt fod eu ffydd yn wan, ac nas gallant orchfygu gallu
y dinystrydd. Gwybodaeth o ddadguddiad a chynnyddiant mewn
ffydd sydd faterion gwrteithiol, ac ni cheir hwynt ond drwy
ymgais diwyd a phrofiad. Iachawdwriaeth sydd gelfyddyd o ba
un mae yr Ysbryd Glân yn ddysgawdwr, a'r unig egwyddor
o gynnyddiant yw yr ufydd-dod manylaf. Ufydd-dod i hwnw
a gynnwysa ufydd-dod i holl awdurdodau yr Offeiriadaeth,
canys arweinir hwy gan yr un Ysbryd. Rhaid yw i ufydd-dod,
mewn trefn i fod o natur achubol, fod yn gyd-fynedol â thystiol-
aeth yr Ysbryd y dylai gael ei roddi, a hyny gyda phleser.
Hyny yw, pan ddanghosir y ffordd gan yr Ysbryd, dylai gael
ei rhodio, nid oes wahaniaeth pa mor wael, anwireddus, neu
ddianghenrheidiol yr ymddengys ar olwg fydol, neu pa nifer o
anhawsderau, peryglon, neu rwystrau anorchfygol yr olwg
arnynt a safant ar y ffordd. Pan gyfarwyddo yr Arglwydd
Efe a ofala am y canlyniadau, ac nid busnes y Saint yw ym-
drafferthu yn eu cylch. Yr ofnau hyn yn nghalonau y Saint,
y diffyg ymddiried yma yn eu Duw, ac ynddynt eu hunain,
sydd yn barhaus yn cau i fyny eu ffordd eu hunain, ac yn feini
o flaen olwynion y deyrnas hon. Mae yr Arglwydd yn barod
i estyn allan ei law, ac i amlygu ei allu yn llawer eglurach yn y
cyflawniad o'i waith, pe byddai ganddo bobl ddigon cryf yn y
ffydd i'w oddef. Cesglir Israel cyn gyflymed ag yr ymbarot-
öant iddo, ac y mae llawer yn myned i Seion yn awr nas
gallant oddef y goleuni sydd yn llosgi yno. Adeiladir Teml
cyn gynted ag y dengys y Saint drwy eu ffydd a'u gweithred-
oedd eu bod yn barod am ei bendithion. Gwaredir Seion ac
adeiladir Tŷ yr Arglwydd pan y bydd pobl yn barod er cadw y
cyfreithiau pur a raid lywodraethu yno. Rhwymir Satan a
dygir y milflwyddiant i mewn, yn gyferbyniol i'r graddau ag y
cynnydda ffydd y Saint a gallu yr Offeiriadaeth ar y ddaear.

Dengys pob peth i'r Saint mai ynddynt hwy eu hunain mae
y rhwystrau sydd yn attal eu cynnyddiant ar hyd ffordd yr
iachawdwriaeth. Mae yr Arglwydd yn barod ac yn aros i'w
cyfarwyddo ar hyd y ffordd cyn gyflymed ag y cerddant ar hyd-
ddi. Diwyd fyddont ynte yn mhob gair a gweithred ddaionus i

geisio am gynghorion yr Ysbryd, ac ymdrechu i allu dweyd fel yr â pob dydd heibio eu bod wedi myned yn mlaen ryw bellder ar hyd ffordd y bywyd tragywyddol.

---

## BREUDDWYD AM GOLLED O WR DAIONUS.

Ar ryw noson yn fy ngwely,
Pan yr oeddwn yn trwm gysgu,
Canfu'm fenyw wrth ei hunan,
Yn wylo dagrau ac yn gruddfan.

Gofynwn iddi, beth yw'r mater
Eich bod fel yna mewn fath chwer'der?
Yr ateb gefais—daliwch sylw,
"Fy anwyl ŵr sydd wedi marw.

"Gallwn roi i'r tlawd elusen,
Pan oedd byw, heb deimlo'i anghen;—
Pob peth gawn yn eithaf diddig,
Heb achos gofyn byth am fenthyg.

"Gwr ffyddlon ydoedd, ac un tawel,
Yn eglwys Dduw yn swyddog uchel;
Rhaid cyfaddef er cywilydd
Mai ei boeni a wnawn beunydd.

"Ei ddifenwi wnawn yn greulon,
Gan ddefnyddio geiriau trawsion;
Ond yn awr yr wyf yn teimlo
Mai ffordd erchyll ydoedd hono.

"O na chawn i ond un cynnyg
Arno etto—byddwn ddiddig;
Ofer ydyw pob dywediad,
Gweddw ydwyf ac amddifad."

*Cwmcelyn.* ISAAC REES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

GWERTHU NEFOLION (CHINEAID) BENYWAIDD.—O'r "*Times and Transcript*," deallwn fod yr hynod Ah Toy, yr hon oedd yn cadw tŷ drwg yn San Francisco am y tair blynedd diweddaf, wedi cychwyn tua China. Dygodd gyda hi i'r wlad hon, er's tua blwyddyn yn ol, ar ei dychweliad o ymweliad â China, nifer liosog o fenywod, y rhai a brynodd am tua 40 doler yr un.

Costiodd eu cludiad 80 doler yr un. Y mae hi wedi gwerthu allan ei *stock* ar wahanol brydiau am o 1,000 i 1,500 doler yr un, i fasnachwyr a chwareuwyr Chineaidd. Pan ar ymadael i fyned i China, gwaredodd y gweddillion am 800 dol. yr un. Mae y "Times & Transcript" yn deall oddiwrth Mr. Cawalhs y cyfreithiwr Chineaidd, na feiddia y benywod hyn wrthwynebu y fath drafodaeth, gan yr ofnant gymmaint o'u cyd-wladwyr.

DWFR.—Dyfynaf a ganlyn o waith Dr. Pratt ar Rinweddau Dwfr:—"Pe byddai i bobl yfed dwfr byddent yn rhydd oddiwrth amrywiol o glefydau, megys Cryndod, Parlys, Parlys mud, Penfeddwdod, Poen yn y Pen, y Droedwst, Clwyf y gareg, Dyfrglwyf, y Gymalwst, Clwyf y Marchogion, a'u cyffelyb. Y mae yfed dwfr yn cryfhau y cylla, yn helpu archwaeth at fwyd, yn cadw y golygon, yn gwneyd y synwyrau yn fywiog, ac yn glanhau holl bibellau y corff, yn enwedig yr elwleni a'r yswigen." Os yw yn cadw y golygon naturiol, ac etto yn "Air o Ddoethineb Duw" fe geidw y golygon ysbrydol hefyd, trwy ei ymarferyd yn lle gwirodydd poethion, tê, coffi, &c.—*G. Roberts.*

SYLWER!

*Hysbysiad i Ymfudwyr!*—Bwriada y Llywydd F. D. Richards anfon y llong "Australia," 1500 o dunelli, allan o Liverpool, ar yr 28ain o'r mis hwn tua New York; pris y cludiad yw £3 15s; plant o un hyd wyth mlwydd oed £3 5s; babanod 10s. Rhaid bod yno ar y 25ain. Gwneler brys.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MEH. 18 HYD GORP. 5.—G. W. Davies, £13 14s 6c; Jonathan Ellis, £2; John Davies, £1 4s; Griffith Roberts, £1 17s 6c; Hugh Roberts, 18s 6c; David Jones (Môn), 14s; Thos. D. Evans, £2.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 15.] GORPHENAF 21, 1855. [CYF. VIII.

## YN MHA BETH Y CREDA Y MORMONIAID?

*(Allan o'r "Mormon.")*

NID anaml y cwrddwn â phersonau a synant wrth weled neb sydd yn gall ac o ymddygiad boneddigaidd yn proffesu credin-iaeth yn, ac yn bod yn aelod o'r hyn a elwir yn gyfundeb Mormonaidd, neu yn hytrach, yn grediniwr cadarn yn athraw-iaethau Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf. Nid cymmaint oddiar adnabyddiaeth o'r hyn yw eu credo neu eu hathrawiaeth y tardda y cyfryw syndod ag oddiar sôn cyffred-inol ac hanesion newyddiadurol pobl a hudir ac a arweinir ymaith gan ddynion bwriadol, mewn ffaith, gan rai hollol lygredig, gwael ac isel. Yn herwydd hyn pan yn cwrdd yn aml â phersonau golygus yr olwg arnynt, y rhai nis gellir am-mheu ar nad ydynt wedi llwyr ymchwilio i'r egwyddorion cyn iddynt eu hefelychu, efallai yr arweinir ef am y tro cyntaf i ammheu rhai o'r cyhuddiadau a ddygir yn erbyn y bobl hyn, ac i ymholi i eirwiredd y golygyddion boneddigaidd, ac hyd y nod i gywirdeb rhai o'r proffesau dysgedig; a thra yn myfyrio ar y posiblrwydd o fod rhyw gamsynied yn mhlith y boneddig-ion hyn, fe'i harweinir feallai i ail edrych i rai o ddygwyddiadau y mynedol ar ba rai yr eiliwyd ei dybiadau ynghylch y bobl ddyeithr yma, ac er syndod iddo, er mor bwysig gynnifer o dyst-iolaethau cyfrifol yn eu herbyn am flynyddau, cofia mai er eu bod wedi eu casâu, eu gwrthwynebu, eu gwarthruddo, eu gyru ymaith, eu llofruddio, a'u gorfodi i chwilio am noddfa yn yr

anialwch yn mhlith anwariaid, a'u camdrinio, a'u henllibo hyd y nod yno, byw, bod, a chynnyddu y maent trwy y cwbl; testun nad oedd er's ychydig amser yn ol ond yn peri gwawd, dirmyg, gwg, neu eithafion diystyrwch, sydd yn awr yn tueddu y lledaenwyr gwybodaeth,—y doethion mawrion hyn i ddywediadau tebyg i ammheuaeth, eu bod feallai wedi camddarlunio y bobl nodedig yma, o'r hyn leiaf mewn *un* ystyr; hyny yw, mewn bod ganddynt ddigon o synwyr i fyw trwy eu camddarluniadau, enllibau, a'u hanwireddau hwy. Yn awr cyhoeddant fod Mormoniaeth yn peryglu y llywodraeth; gymmaint felly fel ag i ofyn codiad eu lleisiau Nestoraidd hwy mewn tônau rhybuddiol i'r genedl liosog hon. Yn awr y mae y gwrth-ddywediadau hyn mewn perthynas â'r bobl yna, yn gysylltiedig â'u hymdrechion, eu hamcan, a'u gwybodaeth ddiddadl sydd wedi hynodi eu holl ymgyrchiadau, yn achosi yn naturiol i aros a gofyn.—Pa le y ceir y gwirionedd am danynt? Bid siwr, nad gan y rhai y mae eu tystiolaeth am flynyddau yn ol wedi troi allan yn gelwyddog. Yn mha le ynte y ceir tystiolaeth yn mha un y gellir ymddiried yn ddiberygl? Nis gellir ymddiried yn yr un dyn braidd, ond fe ellir yn sicr mewn egwyddorion, am ba rai y gadewir i ni farnu drosom ein hunain.

Creda y Mormoniaid yn Nuw, ac yn ei Fab Ef Iesu Grist, a'r Ysbryd Glân: credant yn y Beibl fel Gair Duw drwy ddynion ysbrydoledig, wedi ei roddi i ddyn er ei leshâd a'i ddefnyddioldeb, "A chan wybod hyn yn gyntaf, nad oes un brophwydoliaeth o'r ysgrythyr o ddehongliad priod." Credant yn yr Ysgrythyr—yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei roddi er ei ddeall; nid i'w newid a'i gymhwyso i ateb amgylchiadau personol na thraddodiad; eithr yn llythrenol,—yn ei feddwl gwreiddiol; ac nid oes hawl gan yr un dyn i gyfnewid yr hyn a ddywed Duw. Creda y Mormoniaid yn y Beibl fel ewyllys ddadguddiedig Duw i ddyn, ac ufyddhant i'w holl orchymynion, yr hyn *ni wna* y gwahanol bleidiau; mwy na hyn, tra yr hòna y gwahanol bleidiau mai y Beibl yw safon eu ffydd, gwahaniaethant yn fawr, a gwaeth fyth, gwadant, ac weithiau gwawdiant lawer o'i orchymynion. Ac er i'r Iesu ddweyd (Math. xxviii, 20) "Gan ddysgu iddynt gadw pob peth ar a orchymynais i chwi," etto haera "athrawon" proffesedig ein dydd nad oes eisieu i chwi gadw pob peth, canys dywedant fod rhai pethau yn

"allanol a dibwys." Nid annhebyg hyn i ddadguddiad y sarff yn ngardd Eden. "Yn y dydd y bwytai o hono, *ni* fyddi farw." Fel credinwyr cydwybodol yn y gyfrol Santaidd, dywedwn yn eofn yn erbyn gwneuthur gair Duw yn ddirym gan orchymynion dynion. Ond er dangos yn eglurach y gwrthdarawiad ag sydd rhwng yr athrawiaethau ffug-efengylaidd a ddysgir yn y dyddiau hyn â'r efengyl bur a ddysgwyd gan yr Iesu a'i apostolion, dyfynwn rai o'i athrawiaethau o'r Ysgrythyrau, a chymharwn hwynt â thybiadau dynion yn bresennol, a rhagymadroddwn y cyfan â geiriau Ioan yn ei ail epistol, 9fed adn., "Pwy bynag ar sydd yn troseddu, ac *heb* aros yn nysgeidiaeth Crist, nid yw Duw ganddo: yr hwn sydd yn aros yn nysgeidiaeth Crist, hwnw y mae y Tad a'r Mab ganddo."

### ATHRAWIAETH CRIST AC ATHRAWIAETH DYNION.

*Athrawiaeth Crist.*—(Marc xvi, 17,)—"A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant."

*Athrawiaeth Dynion.*—A'r arwyddion hyn ni chanlynant y rhai a gredant, canys y maent wedi darfod, ac nid oes eu heisieu mwyach.

*A. C.*—(Ioan xiv, 12,—Yr hwn sydd yn credu ynof fi, y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur, yntau hefyd a'u gwna, a mwy na rhai hyn a wna efe: oblegid yr wyf fi yn myned at fy Nhad.

*A. D.*—Yr hwn sydd yn credu yn Nghrist *ni* wna yr un o'r gweithredoedd mawrion a wnaeth Crist; canys mae y fath bethau wedi darfod oddiar y ddaear.

*A. C.*—(Math. xxiv, 31),—Ac efe a ddenfyn ei angylion, a hwy a gasglant ei etholedigion ef yn nghyd o'r pedwar gwynt, &c.

*A D.*—Ac nid oes gweinidogaeth angylion i fod mwyach, canys darfyddodd y fath bethau

*A. C.*—(Dad. xiv, 6),—Ac mi a welais angel arall yn ehedeg ynghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddo, i'w phregethu i'r rhai sydd yn preswylio ar y ddaear, &c.

*A. D.*—Nid oes eisieu i angel ddwyn yr efengyl yn ol i'r ddaear, canys y mae hi gyda ni eisoes, ac y mae ein cenadon yn ei phregethu; yna pa anghen sydd am ei hadferyd.

*A. C.*—(Ioan v, 39),—Chwiliwch yr Ysgrythyrau, canys

ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol: a hwynt hwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi.

*A. D.*—Chwiliwch yr Ysgrythyrau, eithr esbonier hwynt i chwi gan ryw esboniwr enwog a dysgedig, yn hytrach nâ gofyn i Dduw eu hegluro hwynt i chwi.

*A. C.*—(Iago i, 5),—O bydd ar neb o honoch eisieu doethineb, gofyned gan Dduw yr hwn sydd yn rhoddi yn haelionus i bawb, ac heb ddannod; a hi a roddir iddo ef.

*A. D.*—Er fod yr adnod yn dweyd gofyned gan Dduw, etto y mae doethineb ddynol yr oes oleu hon yn sicrach, canys pe dywedai dyn ei fod wedi gofyn doethineb gan Dduw a'i chael yn ein dyddiau ni, ni chydunai â'n credo, a chyfrifem ef yn dwyllwr, a chrediniwr mewn *dadguddiad* presennol, a byddai hyn yn ddim llai nâ Mormoniaeth.

Ystyrir fod apostolion a phrophwydi wedi darfod, ac nad oes eu heisieu mwyach; er y dywedir yn Eph. iv, 11, 12, "Er perffeithio y Saint i waith y weinidogaeth, er adeilad corff Crist, hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb y ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith, hyd at fesur oedran cyflawnder Crist."

Felly y mae rheol a chyfundrefn yr Eglwys a'i hathrawiaeth braidd wedi eu llwyr ddileu, a'u hystyried yn ddianghenrhaid. Er eu hystyriwyd unwaith yn anghenrheidiol, fel "na fyddom blantos, yn bwhwman, ac yn cael ein cylch arwain gan bob awel dysgeidiaeth, drwy hocced dynion, trwy gyfrwystra i gynllwyn i dwyllo;" etto nid ydynt bethau o bwys yn awr, eithr gofaled pob un am dano ei hunan, meddant, ac felly y gwneir trefn Duw yn ddirym gan y rhai a broffesant fod yn weision iddo, a chollir golwg ar lawer o addewidion gogoneddusaf Duw —rhoddion o'r uchelder i ddynion, gan y cuddir hwynt, ac y dallir dynion gan draddodiadau ac athrawon gau. A'r hyn a fynegwyd gan y prophwydi gynt y cymmerai le yn y dyddiau diweddaf sydd wedi ei ddiddymu drwy ysbrydoli, a gadawir llawer heb obaith mwy nag ofn a braw o herwydd y drwg sydd yn dyfod ar y ddaear.

---

## Y TALEITHIAU UNOL A'U MASNACHAETH DDYNOL.

Prif destun cweryl yr Americaniaid yn awr yw Caeth-fasnachaeth, mae y dylanwad o'i blaid ac yn ei erbyn yn cynnyddu ac yn lledaenu yn feunyddiol, a bygythia oddiweddyd yr holl wlad â galanastra buan a galarus; drwy y taleithiau deheuol bygythir yn groew a gwneir darpariadau i oresgyn ysbryd y gogledd; drwy y taleithiau dwyreiniol a gogleddol mae yr elyniaeth i gaethfasnach wedi cynnyddu i'r fath raddau nes y cynnelir cyfarfodydd cyhoeddus yn eu prif drefydd a'r dinasoedd i ddarlithio yn erbyn y drwg o hono, ac ni phetrusa eu newyddiaduron gyhoeddi fod dydd ei dranc eisoes wedi dyfod, a galw am ddrylliau, cleddyfau, a phob math o arfau angeuol i ladd y caethfasnachwyr. Ffroma y Gogleddwyr wrth y Deheuwyr o herwydd eu rhuthr yn etholiad Kansas, tra mae y Deheu yn bur ddigofus o herwydd i Massachusetts ddileu y gyfraith a ganiatai i'r caethfasnachwr adferyd ei gaethion a ddiangasent i'r taleithiau rhyddion. Gwahardda y Deheu ei rhwyfau hithau i'w mharchnadoedd heb ardreth chwanegol o'r herwydd, tra y cynghora ereill alltudiad Dirprwywyr y dalaeth hono o'r Senedd ddyfodol. Dengys Georgia a thaleithiau ereill awydd i gario yn mlaen gaethfasnachaeth ag Affrica; cymmeradwya papurau y Deheu ymdrechiadau y terfysgwyr o Missouri i orfodi Kansas i fod yn Diriogaeth gaethfasnachol, a bygythiant y bydd raid iddi fod felly er pob gwrthwynebiad. Ebe un o'u prif newyddiaduron ar ol beio ar y Gogledd am ymyraeth â'r pwnc:—

"Beth yw y canlyniad? Pan yr agorir Kansas i'r Deheu, gwlad gyfaddas yn mhob ystyr i gaethfasnachaeth, cynddeirioga y Gogledd wrth y ffaith. Yma dechreua yr ymgyrch. Gyrir ymfudwyr cyflogedig yn lluoedd yno i ladd gobaith y Deheu. Eithr mewn amddiffyniad o'u cyfreithiau a'u cartrefleoedd ymbarotoa Missouri erbyn yr ymosodiad. Yn mhell oddiwrth chwareu-loriau y gynen, yn mhell yn maesydd breision Kansas y cyfarfydda wyneb yn wyneb eu gilydd y Gogledd a'r Deheu, penboethni a chaethfasnachaeth. Ymdrech marwol oedd, a chaethfasnachaeth a goncrodd."

Ymddengys y bobl hyn yn benderfynol am gario eu pwnc,

eithr nid llai ystyfnig yw iaith y Gogledd i'r gwrthwyneb. Ysgrifena gohebydd newyddiadur Caerefrog Newydd o Leavenworth, Missouri:—"Ni ychwanegaf ond dweyd na wyr preswylwyr y Taleithiau rhyddion nemawr am ansawdd ein sefyllfa ni yn., nac ychwaith am yr unig ffordd i sicrhau rhyddid Kansas, *yr hon yw drwy ymladd.* Rhaid ymladd brwydr boethlyd a chyffredinol. Hyd oni wneir hyny, mwy marwolaethau fydd y canlyniad. Os ydych am ein cynnorthwyo ni y rhai a beryglasom ein heiddo a'n bywydau i achos rhyddid, anfonwch i ni law-ddrylliau troellog, ac arfau ereill."

Cefnoga y *Tribune* yr uched, a "gobeithia y bydd i gyfeillion rhyddid sylwi ar yr apêl hwn, a chyfarfod y caethfasnachwyr ar y trothwy, ac y gwnant trwy rym arfau sefydlog yn y Diriogaeth wrthwneuthur gweithredoedd y mileiniaid a ymgrynhoasant yngbyd, gan enwi eu hunain yn Senedd Kansas."

O'r ochr arall, ebe y *Western Argus* (caethfasnachol), wedi dynoethi cyngrair yn mhlith y gwrthgaethfasnachwyr i ladrata yr holl gaethion o Kansas. :—

"Os oes rhyw rai i gael eu halltudio allan o Kansas, ni wyddom am neb a deilynga hyny gymmaint a'r gwrthgaethfasnachwyr eu hunain.

"Y ffaith yw fod rhyddid-geiswyr y Gorllewin wedi penderfynu codi cynen yn erbyn caethfasnachwyr. Daw yn fwy amlwg o hyd mai eu hawydd yw cael rhyfel cartrefol, a chyda golwg ar hyn gwnant eu holl ddarpariadau. a chan mai hyn yw eu hamcan, goreu i les Missouri po cyntaf y rhagflaenir eu bwriadau dinystriol."

Mae y ddwyblaid yn bur boethlyd gwelir, a diau nad yw y cyfnod rhagddywededig gan brophwydi hen a diweddar yn mhell, pan y bydd raid i'r sawl na throcha ei gledd yn ngwaed ei frawd ffoi i Seion.

Gwir fod ychydig wyr cymhedrol, ac ni fu erioed lai ar gyffelyb amgylchiad, etto nid oes neb heb deimlo eu bod yn cael eu gormesu gan ereill, ac mae yr oll braidd yn benderfynol mai yr unig ffordd i gael cyfiawnder yw drwy rym arfau; nid oes a gynnygia ddim arall braidd ond hyny yn awr. Nid oes gyfathrachrwydd rhwng ysbryd y pleidiau; mae yr afiechyd wedi gafaelyd yn y cylla, gwreiddio yn y corff politicaidd a chrefyddol nes myned yn anfeddiginiaethol, ac nid oes wellhâd iddo

nes rhoddi iawn dwbl am yr holl waed gwirion a dywalltasant hyd eu lloriau; ac nid hyd nes y rhuddir eu glaswellt yn saith rhuddach â'u gwaed eu hunain nag eu gwelsant gan waed Saint y caniatâ dïaledd Duw cyfiawn iddynt ddychwelyd eu cleddyf i'r wain yn ol. Ymgasgla y dudew gymylau dymestl dywell. erchyll a daroganus, gyda ffyrnigrwydd cynnyddol; dynoda rhuad y tyrfau pellenig ei dynesiad; tra y mae adlewyrchiadau penboethni, megys goleu mellt fforchog yn hollti perfeddion y cymylau beichiogaidd i arddangos erchylldra, chwyrnigrwydd a chyffredinolrwydd y 'storom. Y diweddglo sydd guddiedig yn ei bru serch hyny. Hyn sydd hysbysedig y bydd digonedd o fellt a tharanau naturiol yn nes atynt heb wneyd rhai ffugiol o'r gorllewin, a digon o dywallt gwaed yn nes nâ'r mynyddau creigiyd i syrffedu gwanc y rhai mwyaf gwaedlyd, heb ddyfeisio celwyddau ar y diniwed er cael byddin i fyned filoedd o filltiroedd i dywallt chwaneg o waed Mormonaidd mwy—ceir gweled lliw gwaed arall mwyach, a phwy a gwyna i'w gwewyr na'u tranc!

Fel y gweler yn amlycach etto yr ysbryd gwaedlyd sydd yn teyrnasu yn y Taleithiau, ac fel yn rhoddi awch ar gleddyfau y Gogledd yn erbyn y Deheu, a'r Deheu yn eu herbyn hwythau dyfynwn a ganlyn allan o'r "Michigan Expositor:"—"Ymddengys rhyfel cartrefol yn Kansas yn fwy anocheladwy bob dydd rhwng terfysgwyr creulon Missouri â phreswylwyr y Diriogaeth. Mae y rhuthriad diweddar a wnaeth terfysgwyr Missouri ar yr etholiad yn prysur ddeffroi ysbryd y dinasyddion; ac y maent yn ddiddadl yn ymbarotoi i amddiffyn eu hiawnderau a'u hetholiad â blaenau eu drylliau. Yn awr yw yr amser i ddynion o wroldeb dinam a phenderfyniad diysgog i fyned i Kansas ar unwaith. Onid oes genym gannoedd a miloedd o wyr ieuainc diwyrni, y rhai ydynt ewyllysgar i aberthu eu bywydau pe bae raid er achub Kansas rhag cael ei duo a'i halogi gan anwariaid arfog o uffernau a meddw-dai St. Louis, a lleoedd ereill yn Missouri?

"O herwydd fod genym Lywydd difadfeth, dyledswydd yr hwn yw amddiffyn sefydlwyr Kansas, eithr yr hwn ni wna unrhyw sylw o'r trawsder a wnaed yno; a fydd gwroniaid ein gwlad mor ddifater ag ef, a gadael i ddewrion ragredegwyr rhyddid yn Kansas gael eu halltudio o'r wlad hono gan der-

fysglu o offerynau Caethfasnachwyr? Ymddiriedwn na wnant. Yn mlaen, ynte, er amddiffyn rhyddid a phurdeb ein hetholiad yn Kansas. Yn mlaen yn yr ymgyrch am ryddid yn Kansas. Danghoser i derfysgwyr creulon Missouri nad cachgïaidd gwyr Kansas, ac na oddefant eu hanmharchu."

Atebir yntau yn ol gan newyddiadur y caethfasnachwyr, a gyhoeddir ar y dadleulawr, fel y canlyn:—

"Paham na ddaw rhai o Olygyddion y Dwyrain, y rhai a ymladdant y Missouriaid mor ofnadwy gartref, eu hunain i Kansas, a beiddio cyflawni yr hyn a gynghorant ereill i wneuthur? Meddyliwn yr edrychai lawer gwell ynddynt pe pregethent lai a gweithredu mwy. Gellid meddwl wrth ddarllen y newyddiaduron dwyreiniol fod byddin o filiwn o ryddwyr yn dyfod i yru Deheuwyr allan o Kansas drwy rym arfau. Nid ofnwn ronyn o'u golwg ryfelawg na'u bygythiadau syfrdanus. Os oes gwir yn yr hen ddiareb mai "anaml y cnöa cŵn cyfarthlyd," yr ydym ni yn weddol ddiogel. Byddai yn dda genym weled cynlluniau y Wasg ogleddol yn cael *cynnygiad* o gyflawniad yn y Diriogaeth hon. Rhoddai hyny i ni gyfle i ymwledda ar y mwynhâd o'r hyn a chwennychwn er ys llawer dydd, sef 'cerdded at ein gwasg mewn gwaed gwrthgaethfasnachwyr!' Deuwch, ynte, meddwn, ar eich cenadaeth greulon, a nyni a roddwn i chwi y cyffelyb roesawiad ag a roddodd yr anfarwol Jackson i'r Brytaniaid yn Orleans Newydd. Gwnawn eich gwragedd yn weddwon a'ch plant yn amddifaid, ac a frashawn ein daear ag ysgerbydau braenedig rhyddidgeiswyr. Dymunem yn fawr iawn weled Golygydd y 'Michigan Expositor' yn blaenori ei osgordd o *rag tag* a *bobtail* filwyr dros brairies Kansas. Ewyllysiem ei weled ar ol ei frwydr gyntaf a'r 'gethern arfog o uffern,' a chlywed ei feddwl o barthed i'r posiblrwydd o wneuthur Kansas yn Dalaeth rydd, 'hawddach ei ddweyd nâ'i wneyd.'"

Dyma siarad go blaen, onide? Mae yr ysbrydoedd hyn yn barod, dim ond ychydig amser sydd yn eisieu i gyfarfod a'u gilydd! Cofier mai yr un gethern a alltudiasant y Saint o Missouri yw y rhai hyn: pryd hyny, credid eu celwyddau, a chanmolid eu creulonderau yn erbyn y Saint, y rhai a welant yn awr drwy dynu yn y dorch gyda hwynt eu hunain pwy oedd i'w beio. Pryd hyny nid oedd braich o gymhorth i filoedd

a bobl diniwed a alltudiwyd gefn geuaf o'u gwlad ganddynt, ond yn awr cesglir byddinoedd parodol drwy gydymdeimlad "sectyddol," i amddiffyn pe ond brodor yn ei fwthyn rhag trahausdra! Mae tai, trefydd, caeuau, ffermydd, a dyffrynoedd, ïe, Swyddau cyfain braidd a yspeiliwyd oddiar y Saint gwirion yn meddiant yr ymosodwyr hyn, pa rai ond odid a drochir a gwaed unwaith etto cyn hir, ïe, pan y purir ac y glanheir hwynt trwy eu gwaed hwy eu hunain oddiwrth eu halogrwydd, i fod yn addas i ail deuantiaeth gan eu teilwng etifeddion!

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, GORPHENAF 21, 1855.

At Lywyddion Cynnadleddau a Changenau.—Gelwir eich sylw manwl a mynych chwi at gyfrifiad arianol yr Eglwys o dan eich gofal; dyledswydd pob un o honoch yn ei gylch yw gweled fod cyfrifon cywir ac eglur yn cael eu cadw o gyfraniadau y Saint at y Drysorfa Ymfudol Barhaus, y Deml, a phob cyfraniadau ereill a berthyna i eglwys Dduw, a danghosiadau cywir o'u trosglwyddiad o'r naill Drysorydd i'r llall, ac o'r defnydd a wneir o bob ceiniog o honynt. Dysgwylia y Saint yn rhesymol i chwi amddiffyn eu hiawnderau hwy, drwy iawn ddefnyddiad o'u cyfraniadau, yn ogystal ag mewn pob peth arall; dysgwylia Duw i chwi brofi eich gonestrwydd a'ch ffyddlondeb yn hyn, ac ni all ein cyfrifoldeb ninnau i'r naill na'r llall ganiatâu i neb yr enw o droi mewn cylch perthynol a esgeuluso wneuthur cyfiawnder, a chadw cyfrifon a ddangosant drostynt eu hunain, heb fod anghen yr ysgrifenydd gyda hwynt i ddweyd beth ydynt, beth yw cyfraniadau pob aelod at bob gofyniad; a'i prawf, meddwn, i'w holynwyr; a'i prawf i'w hâch ar eu hol, ac a'i prawf etto yn Seion, pan y dêl arholiad i weithredoedd pob un,

Ymddiried yw y prif beth anghenog yngolwg y Saint er cyflawni pob gofyniad gyda pharodrwydd; canys gwyddant o'r

goreu mai cyfranu i Dduw y maent yn mhob gofyniad cyfiawn, ac nid oes dim a grea ymddiried yn eu Llywyddion os camddefnyddiant eu cyfraniadau, tra o'r ochr arall bydd boddlonrwydd fod iawn ddefnydd yn cael ei wneuthur o'r oll yn fwy annogaethol i haelioni na phob peth arall hebddo. Dylai y mawr-bwys o ymddiried y Saint yn eu Llywyddion, heb yr hyn nid oes cariad na dylanwad digonol i lywyddu, orfodi pob un, nid yn unig i iawn ddefnyddio pob cyfraniadau i'w dybenion priodol, ond i ddewis yn hytrach, ïe, i fynu gwneyd i bawb goelio a gweled mai felly y mae. Dyma'r ffordd i ennill ymddiried, i amddiffyn cymmeriad, i rwystro drwgdybiaeth, ac i ddwblu pob cyfraniadau *cyfreithlawn* ; teilynga y cyfranwyr hyn, a'r sawl a ddymuna ymddiried y Saint a'i gwna. Gwneler yn hysbys, o leiaf bob chwarter, pa swm a dalodd pob aelod yn mhob cangen at bob gofyniad, ac hysbyser ar gyhoedd bob Cymmanfa, pa swm a dalodd pob Cangen at bob peth, fel os bydd camsynied yr uniawner a chronicler yr oll yn fanwl yn y llyfrau perthynol i hyny. Teimlwn i gymhell hyn gyda manylrwydd, a delir y sawl a'i hesgeuluso yn droseddwr cyhoeddus, heblaw y dyry le i ddrwg dybio ei amcanion a niweidio e ddylanwad.

Nid oes nemawr bechod mwy gwarthus yngolwg y Saint, pechadurus yngolwg yr Arglwydd, ac annyoddefol yngolwg Offeiriadaeth yr eglwys nag *anonestrwydd.* Mae anonestrwydd at gyd-ddyn yn anynol,—at frawd yn greulonach, at eglwys Dduw yn gyssegr-ladrad! Mae yspeilio Saint tylodion o'u dimeuau a'u ceiniogau a gyfranasant o'u hanghenion yn bechod rhy ysgeler i ronyn o Ysbryd Duw—ysbryd y *cyfiawnder* gydbreswylio am eiliad yn y bôd a'u gwna; eithr pe bradychai unrhyw Lywydd yr ymddiried a rodda y Saint didwyll ynddo, o herwydd ei Offeiriadaeth ddwyfol, ychwanegai drwy hyny fradwriaeth o'r fath waethaf at gyssegr-ladrad, yr hyn. nid yn unig a wnelai "Judas" o hono ef ei hun, ac a achosai i bob gonest-ddyn basio y cyffelyb ddedfryd arno, eithr a dueddai i niweidio dylanwad ei frodyr gonestach nag ef; ac mewn gair, ni feddwn iaith a arddengys erchylldra yr ysgeler-beth a enwasom! Hyderwn na ddwg unrhyw ffaith y fath gyhuddiad atom yn erbyn neb o'r cyfryw a gawsant yr oruchelfraint o fod yn oruchwylwyr dros eiddo *eglwys Dduw!* Os ymwertha neb

i'r fath bechadrusrwydd, nid ystyriwn fod ysgymuniad allan o eglwys Dduw hyd oni ad-dala yr hatling eithaf yn benyd cyfartal â'r trosedd, eithr dylai cribau heuarnaidd gwladwriaeth gael cribo ei wallt foreu a hwyr; ystwyther ei gymalau ar droellog olwynion poenydwyr dihirod llai haeddiannol, ac â chàn-pwys o heuarn llwyther ef am bob swllt a gadwa yn ei gôd Judas-aidd o eiddo brodyr y Iesu diniwed. Ac wedi y treiliau oes druenus fel hyny ni fydd ond wedi cael rhyw awgrymiad ysgafn yn unig o arteithiau a loesau y cospau a ddyry Pen Mawr yr eglwys arno pan ei cyferfydd tu draw i'r llèn, a dychymmygwn glywed pob aelod o'r un eglwys drwy y nefoedd fry yn bloeddio eu "Hamen" pan sêlir ei dynghed dan ddwfn glöeon yr eigion garcharau obry! Ymswyner rhagddo!!

---

## RHYBUDD I'R SAINT!

Anwyl Lywydd Jones,—Derbyniais lythyr oddiwrth Dewi Elfed Jones, tra yn Sir Fynwy, yn cwyno ei fod ef wedi cael ei ysgymuno o'r eglwys yn anghyfiawn o herwydd eich digasedd chwi ato, ac yn ceisio profi nad yw efe yn ddyledwr i'r Swyddfäau, nac i'r Gynnadledd, oddieithr ychydig bunnoedd. Deallaf ei fod ef hefyd yn ysgrifenu llythyrau yn brysur i amrywiol fanau, a gwelais rai o honynt, yn gyflawn o anwireddau gwybodus i mi, i geisio cyfiawnhau ei hyn o'r hyn y gwn ei fod yn euog o hono.

Gan fod Dewi Elfed Jones wedi ymosod ar y fath waith pechadurus a'ch camgyhuddo chwi, a cheisio trwy rith grefydd ac haeriadau anwireddus i greu dylanwad yn eich erbyn chwi, dymunaf gyfle drwy yr Udgorn i rybuddio y Saint i beidio a chredu yr hyn a ddywed efe yn ddrwg am y Llywydd Jones, nac yn dda am danaf innau, o herwydd ei fod *ef yn ei ddweyd.* Ystyriaf ganmoliaeth y fath ddyn â Dewi Elfed Jones yn sarhâd ar fy nghymmeriad. Tystiaf mai anwireddau yw yr holl gyhuddiadau a ysgrifena yn erbyn y Llywydd Jones hyd y gwelais, a'i fod yn ymladd â'i gyfaill goreu; gwn ddarfod i'r Llywydd Jones ddangos mwy o drugaredd, hir-ymaros, ac ewyllys da ato ef nag a ofyna cyfiawnder iddo wneuthur. Bu'm fy hun drosto, a gwn am ereill a fuont ar ei gais, yn ymbil ar Dewi Elfed Jones lawer gwaith er ys amser maith, i

ddiwygio, byw buchedd addas i'w broffes, a gwneuthur cyfiawnder, yr hyn a addawai wneuthur o fis bwy gilydd, eithr y mae efe wedi myned i'r fath dywyllwch drwy ballu gwneyd hyny, nes mai ei bleser yw diraddio a chamgyhuddo drwy yr hyn sydd anwireddus wybodus i mi, y dyn a wnaeth fwyaf o ddaioni iddo, a'r mwyaf dieuog o'r hyn y cyhudda, o neb dyn yn y wlad. Gan y mŷna Dewi Elfed Jones fyned i ddystryw ei hunan, trueni ei fod yn ymegnïo cymmaint i geisio dallu a gwenwyno Saint ereill i'w ganlyn i ddystryw, a'r gwaethaf oll ei fod wedi ymroddi gyda'r fath haerllugrwydd i ddangos ei falais atoch chwi. Prawf hyn yn amlwg i blant y goleuni ei fod ef o ysbryd dïalgar, ac wedi teilyngu y cerydd a gafodd. Argoel ddrwg yw gweled "ci yn cnoi y wialen"

Gadewch i mi hysbysu y Saint fy mod i yn deall, ar ol edrych yn fanwl dros yr holl gyfrifon sydd ar gael, fod yn ddyledus arno i'r Swyddfäau dros *ugain punt* yn ol cyfrifon a gadwodd ei fab ei hun, yr hwn oedd yn cael yr enw o Ddosparthwr, eithr yn ol ei ddywediad ei hun, ac ereill, ni chaffai afael yn yr arian gan y llogellai ei dad y cyfan. Heblaw hyn yna, deallaf fod dros *ugain punt arall* o arian y Gynnadledd yn ei law yn ol y cyfrifon a *gadwodd ei fab, yr hwn oedd ei ysgrifenydd ef ei hun.* Mae ei lyfrau ef ei hun yn dangos ei fod ef wedi derbyn dros *hanner cant o bunnau*, heblaw dros *ddeugain punt* at ei gynnal ef a'i deulu, a thua *deg punt* at ddillad, mewn *lla'* nâ blwyddyn o amser, heblaw yr holl elw a ddeuai oddiwrth y Dosparthu llyfrau Cymraeg a Saesnig. O'r swm uchod y mae tua *deg punt* yn sefyll yn ei ddwylaw ef o gyfraniadau y Gynnadledd at adeiladu Teml yr Arglwydd. Mae efe wedi gwadu hyn, a gwrthod rhoi yr arian i'r rhai y perthynant, eithr cweryla â'r Llywydd Jones o herwydd ei fod yn amddiffyn eglwys Dduw a'r Saint tlodion rhag camddefnydd o'u harian. Am hyny, ystyriaf yn ddyledus i'r Saint a'r Brawd Jones, i roi yr hysbysiad hwn o'r hyn wyf yn wybod; a gwn fod y Llywydd Jones wedi cael digon o achosion i ysgymuno Dewi Elfed Jones er ys mwy nâ hanner blwyddyn, oni buasai ei awydd i'w adferyd, a'm haddunedau innau i fyned gydag ef am wythnosau i'w ddiwygio, yr hyn sydd edifar iawn genyf wneuthur, gan ei fod wedi fy nhwyllo yn hollol trwy ei ragrith. Er hyny buasai yn hawddach genyf faddeu iddo hyny nâ'r

ymgais annuwiol a wna i niweidio y dieuog, ac i wenwyno meddyliau y Saint. Deallaf wrth yr hyn a glywaf gan bawb braidd yn y cangenau lle yr wyf wedi bod, y dengys cyfrifon y cangenau lawer iawn o bunnoedd heblaw yr uchod yn ei law. Ei lyfrau ei hun, pa rai y'nt ar glawr yn "Swyddfa Udgorn Seion" i'w gweled i'r sawl a ammheuo, a ddangosant ei fod yn ddyledwr o'r symiau a nodwyd genyf.

DANIEL DANIELS.

---

Dymunwn ninnau ychwanegu ein tystiolaeth at yr uchod, fod y symiau a nodwyd uchod, ac ychwaneg, yn ddyledus ar Dewi Elfed Jones yn ol yr hyn a brawf ei gyfrifon ef ei hun o'i dderbyniadau o'r Gynnadledd. Credwn ei fod ef wedi cael cyfiawnder yn ei ysgymuniad, a drwg genym i ni gymmeryd ein twyllo drwy ei haeriadau a'i addewidion teg cyhyd, eithr gan ei fod ef yn gwrthryfela yn erbyn y Llywydd Jones, ac yn ei gamgyhuddo, ystyriwn yn ddyledus i ni amddiffyn y gwir.

EMRYS DAVIES, } Cynghorwyr blaenorol D. E. Jones.
WM. RICHARDS, }

Yr ydym ninnau yn tystio, ar ol ymchwiliad manwl i gyfrifon D. E. Jones, ei fod yn ddiffygiol o'r symiau a nodwyd, ac ychwaneg hefyd; gwyddom i'r Llywydd Jones ymddwyn yn garuaidd ato, a gwneyd ei oreu i'w adferyd o'i wyrgamrwydd, a'i fod wedi gweinyddu gormod o drugaredd iddo, a chael casineb yn ol yn ei le yn mhob amgylchiad; a gwyddom fod D. E. Jones yn elyniaethus i'r Llywydd Jones, ac yn dweyd llawer er niweidio ei gymmeriad yn ei absennoldeb er's llawer dydd.

THOMAS HARRIES.
WILLIAM LEWIS.

---

*Dyfyniad o lythyr y Llywydd F. D. Richards wedi iddo ddarllen llythyr amddiffyniadol Dewi Elfed Jones :—*

"At y Llywydd Dan Jones.—Anwyl Frawd,—Derbyniais oddiwrth y Brawd Wheelock y llythyr mewnol, yr hwn a ysgrifenwyd gan D. E. Jones, ac anfonaf ef yn awr i chwi, fel y gweloch ysbryd y dyn drwy ei iaith ei hun, ac y byddoch barotach i ymddwyn tuag ato. Dymunaf arnoch ymddwyn yn ddiduedd a didderbyn-wyneb yn mhob achos o'r fath lle y mae diffyg———. Nis gallaf oddef y fath drafodaeth yn yr Eglwys, yn cael ei chyflawni tan fantell gweniaeth ragrithiol o fod yn "wir Formoniad ffyddlon," fel y dywed. Geill llawer un ddweyd "Y mae fy nghalon yn y gwaith hwn o dreiglo y deyrnas hon yn y blaen," tra y treigla hithau y punnoedd idd ei logell, fel y gwnaeth Cynnadledd Orllewinol Morganwg i eiddo D. E. Jones; ond nis gallaf fod mor barod i'w gredu ef

lle y dywed "yr wyf yn barod i ddyoddef un-peth er mwyn yr achos hwn," hyd oni ddychwelo y swm sydd wedi ei gadw a'i defnyddio yn anghyfreithlon ganddo. Yr wyf yn hollol ddigofus wrth y fath ragrith cythreulig a gymmerir i guddio y fath drafodaeth felldigedig. Ymddengys nad oes yr un drysorfa eglwysig wedi bod yn rhy gyssegredig iddo eu dir-droi o'u hiawn ddybenion, a'u cymhwyso at ei wasanaeth personol. Na ddysgwylied efe yr adennilla fy ymddiried a'm cymdeithas i byth, nac y gofynaf i un dyn cyfiawn arall i ymddiried ynddo, neu i gymdeithasu ag ef, hyd oni ad-dalo bob ffyrling a gamddefnyddiodd mor anghyfreithlawn. Fforffetia y fath ddiffygwyr ymddiried, a phechant yn erbyn y tlodion teilwng o bobl Dduw, bradychant yr hyder santaidd a gyflwynwyd iddynt genych chwi a minnau, a phechant yn erbyn yr holl Eglwys. Gwell fyddai i'r fath gymmeriadau werthu yr oll a feddant, ymrwymo eu hunain a'u teuluoedd yn gaeth-weision a chaeth-forwynion mewn gwasanaeth hyd oni ad-dalont y ffyrling eithaf gyda llôg, a rhoddi i'r Eglwys drwy hyny un prawf o'u bod yn onest, nag ymgyndynu â'r awdurdodau am le nac enw o fod yn fyw tra y maent yn farw i gyfiawnder. * * *

"F. D. RICHARDS."

[Nid pleser namyn *dyledswydd* ofidus yw cyhoeddi y blaenorol, ïe, a dyledswydd a orfodir arnom gan Dewi Elfed Jones ei hun, drwy ei fod wedi ysgrifenu llythyrau i wahanol fanau, amryw o ba rai a ddanfonir i ni gan eu derbynwyr, gan ffieiddio ei haeriadau maleis-ddrwg i gudddio ei bechodau drwy bardduo y diniwed. Erfynir yr eglurdeb blaenorol o fanau lle yr ysgrifenodd efe yn groes i'r gwir, a theg i'r Saint gael yr ail gan iddo ef roddi iddynt yr ochr gyntaf ei hun. Amddiffyn y gwir rhag gau yw dyled pob dyngarwr, a dyna yw amcan eich—GOL.]

---

## LLYTHYR O SIR FON.

*Pentref Berw, Meh.* 28, 1855.

ANWYL FRAWD JONES,—Defnyddiwn yr adeg bresennol i'ch hysbysu ein bod ni oll mewn gwaith yn bresennol, ac y mae y brawd Daniel Lewis yn Nghaergybi, lle y gall llawer o weithwyr gael gwaith etto. Dywed ein mheistri y bydd eisieu tua chwech o löwyr arnynt yn fuan etto, a charem yn fawr i weled brodyr ffyddlon yn dyfod i fyny, canys y mae yma ddigon o le iddynt i bregethu. Yr ydym yn pregethu mewn amryw fanau bob Sul; weithiau yr ydym yn cael gwrandawiad da, a phrydiau ereill yr ydym yn cael ein rhwystro ar ganol pregethu gan flaenoriaid y Methodistiaid; er hyny nid yw eu hymddyg-

iadau hwy yn ein digaloni gyda gwaith Duw. Yr ydym yn myned oddiamgylch i draethodu ac i bregethu ar hyd nosweithiau yr wythnos. Nid ydym wedi bedyddio neb yma etto, eithr meddyliwn fod rhai yn credu yn ddirgelaidd, ac y cawn afael ynddynt cyn bo hir. Pan ddaeth y brawd Thomas Rees o Rymni yma, bwriadai aros yma ddau fis, ond yn awr erys yn hwy, a charai yn fawr pe caffai ei deulu i fyny; nid oes ganddo ef fodd i'w cyrchu yn awr, ac nis gallwn ninnau ei gynnorthwyo yn bresennol; meddyliem pe y gallech chwi, trwy eich dylanwad, gael gan Saint y deheudir wneyd hyny drosto, a byddai hyny yn fendith iddo ef a ninnau, fel y gallem lettya ganddo yn lle gyda'r byd.

Yr ydym yn teimlo yn dra diolchgar i chwi am eich gofal am danom yn danfon o'ch heiddo i'n cynnorthwyo, yn gymmaint a'n bod ni mewn gwaith cafodd y brawd Lewis eu cadw, o herwydd ei fod mewn anghen. Yr ydym yn benderfynol i wneyd ein goreu tra y byddom ni yma er parotoi i fyned tua Seion, gan ddymuno na fydd ein hamser yn hir yn Babilon, yr ydym yn hiraethu am fyned. Nid yw yn edifar genym am ddyfod yma, canys ein braint yw.

Ydym eich brodyr, a'ch cyd-weision yn yr Arglwydd,

E. S. Morgan, R. Jenkins.
Elias Lewis, W. Vaughan.
Thomas Rees.

---

## ANNERCHIAD CHWAER AT EI CHYD-IEUENCTYD.

Gyd-ie'ngtyd hoff yn eglwys Dduw,
Eich hannerch wnaf os rhowch eich clyw,
Mewn hyder dwys y gwnawn ni 'gyd,
I wneyd ein rhan tuagat y byd.

Wrth gofio gynt y ddirfawr fraint,
A gawsom oll trwy ddod yn Saint,
Mae arnaf hiraeth lon'd fy mryd,
Am wneyd ein rhan tuagat y byd.

Y merched all, a'r gwragedd oll,
Werthu i'r byd y Gair digoll;—
Rhaid tystio'n hy er maint y llid,
Cyn gwnawn ein rhan tuagat y byd.

Ond am y meibion, gallant hwy,
Wneyd dirfawr waith yn mbob rhyw blwy';

Y rhai ennillant drysor drud,
Wrth wneyd eu rhan tuagat y byd.

Fe *wyddom ni* yn awr heb feth,
Fod Teyrnas Dduw yn werth pob peth;
A gwae i'r sawl sy'n ddrwg ei fryd,
Heb wneyd ei ran tuagat y byd.

Gwnawn benderfynu'n ffyddlon fyw,
I annog pawb i winllan Duw;—
Paham arosa'n brodyr cyd,
Heb wneyd eu rhan tuagat y byd?

Ceir gweled llu yn ninas hedd,
Yn nghwmni Crist yn llon eu gwedd,
Y rhai fu maes o bryd i bryd.
Yn gwneyd eu rhan tuagat y byd.

Y diwyd Sant fu'n gwneyd ei waith,
Ga heddwch Duw ar ben ei daith,
A choron aur a pherlau drud,
Am wneyd ei ran tuagat y byd.

Y brodyr aeth i Sir y Fôn,
Sy'n dangos 'nawr mewn didwyll dôn,
Yr unig waredigaeth glud:—
Fel hyn eu rhan a wnant i'r byd.

Na rwystred neb un gwas i Dduw,
I fyn'd i'r maes wrth arch ein Llyw,
Ond unwn oll fel un i gyd,
I wneyd ein rhan tuagat y byd:

Ac yna'r ffordd agora'n Tad,
I ni gael myn'd i'n dedwydd wlad.
A thyna'r ffordd agosa'i gyd—
Trwy wneyd ein rhan tuagat y byd.

MERCH O'R "FRO."

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O GORPHENAF 6 HYD 19.—A. L. Jones, £1 5s 4c; Wm. Lewis, £2 12s 7c; T. Morgan, £1 10s; E. Middleton, £9; Griffith Roberts. £1; Hugh Roberts, 11s 7c; David Jones, Môn, £1 8s 5c.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 16.] AWST 4, 1855. [CYF. VIII.

## DEUDDEGFED EPISTOL CYFFREDINOL

*Llywyddiaeth Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, at y Saint yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd, ac yn wasgaredig trwy y byd,*—YN ANNERCH :—

ANWYL FRODYR,—Dan fendithion Rhagluniaeth oruwch-lywyddol er ein cadwraeth, y mae rhwymau adnewyddol arnom o ddiolchgarwch a mawl idd ein Tad yn y nefoedd, gofal amddiffyniadol yr hwn a dro'dd ymaith bicellau marwolaeth, ac a'n cysgododd, megys â mantell, rhag y ffrewyllau a'r anrheithiau a dywalltwyd ar y ddaear.

Profasom yn wir i'w allu Ef fod drosom er daioni. ac fod y dyffrynoedd pellenig hyn wedi bod hyd yn hyn yn loches-fan ddiogel, yn mha un y cafodd y Saint lonyddwch, iechyd, llwyddiant, a heddwch, tra yr ymwelodd digofaint yr Arglwydd, mewn rhan, â'r cenedloedd. Mae ein calonau yn gyflawn o lawenydd pan yr ystyriwn mor garedig y goruwchlywyddodd yr Arglwydd niwed bygythiol er daioni, ac y tro'dd lidiawgrwydd dyn i'w foli Ef, trwy waredu cynnifer o'i Saint o Babilon ddrygionus, ac o allu eu gelynion, cyn y lledaenodd ddygwyddiadau gwaeus, cythruddol, a thrallodus anghyfannedd-dra, a gorthrymder dros wyneb y ddaear. Ar yr un pryd teimlwn yn bryderus o herwydd y Saint ffyddlawn hyny ag ydynt hyd yn hyn yn gorfod aros am waredigaeth yn nghanol y fath ddinystriadau dychrynllyd.

Y mae arwyddion yr amserau a'r tymmorau, fel yr ymdreiglant yn gyflym, yn prysur gyflawni geiriau y prophwyd cyntefig, fod "yr Arglwydd wedi cyhoeddi darfodedigaeth ar yr holl ddaear." Yn ngoruchwyliaeth y dyddiau diweddaf bodd-heir ni yn fawr gan ffyddlondeb yr Henuriaid yn myned allan i gyhoeddi cyflawnder yr Efengyl Dragywyddol i blant dynion.

Er fod gwaith mawr yn aros i'w gyflawni, etto, y mae wedi ei gario i gyrau pellaf y ddaear; ac wedi cael ei bregethu i lawer o'r prif genedloedd yn eu hiaith gynhenid. Yn Nghogledd yr Americ, ac yn Mhrydain Fawr y mae wedi ei bregethu a'i gyhoeddi yn llydan. Fe'i pregethwyd ac fe'i cyhoeddwyd yn yr ieithoedd Ffrengaeg, Ellymynaeg, Italaeg, Danaeg, a Chymraeg. Y mae wedi ei gyfieithu hefyd, ac yn barod i'w gyhoeddi yn yr iaith Hawaiiaeg, ac y mae yn debyg y cyhoeddir ef yn y tymmor dyfodol. Yn ychwanegol i hyn y mae wedi cael ei bregethu i'r Yspaeniaid, Llych-lyniaid, Swediaid, cenedl gwlad yr Iâ *(Iceland)*, preswylwyr glànau y Danube, afon yr Aifft, yr Indus, a'r Ganges. Y mae yr efengyl wedi ei chynnyg yn rhâd, gan Henuriaid Israel a deithiasant heb bwrs nac ysgrepan, i'r holl genedloedd hyn, ac i bobl Malta, Affrica Ddeheuol, Ceylon, Siam, Awstralia, yr ynys eangaf a'r mwyaf poblogaidd o Ynysoedd y Môr Tawel, ac i lawer o genedloedd a phobloedd ereill yn eu hiaith gartrefol. Yn mhlith pawb ag y pregethwyd yr efengyl iddynt y mae wedi cael gafael ar fwy neu lai o Israel; eithr teilynga i sylwi mai yn y cyfryw wledydd a freintiwyd â'r efengyl yn oesau cyntefig Cristionogaeth, —a gawsant dystiolaeth yr Iesu a'i Apostolion, y cawn fod y tywyllwch a'r eilun-addoliaeth mwyaf, a'r cymhwysderau lleiaf er deall egwyddorion ein crefydd santaidd, tra ei derbynir yn mhlith y rhanau goleuach, megys Ewrop Orllewinol, sefydliadau y Saeson yn Awstralia, a'r Americ, ac yn yr Unol Daleithiau, gyda mwy o barodrwydd gan yr ymgeisydd gonest a chywir am wirionedd.

Mae y Cenadiaethau yn ystod y flwyddyn fynedol wedi bod yn llwyddiannus anghyffredinol. Derbyniasom newyddion o Awstralia yn dangos cryn gynnydd mewn rhyfedi, ac ymholiad parhaus a chynnyddol am wybodaeth o'r gwirionedd. Oddiwrth y Brawd Jesse Haven, yr hwn sydd o hyd yn llywyddu a

phregethu yn Cape Colony, deallwn fod yno gangen gryno wedi cael ei chyfodi wedi iddo gyrhaedd, y rhan amlaf o blith y sefydlwyr Brytanaidd.

Yn Ceylon ymddygwyd yn ddrwg tuag at y Cenadon, a gorfodwyd hwy yn fuan i adael yr ynys. Yn Siam caniatawyd iddynt i aros, eithr ni wnaethont nemawr argraff, oddieithr yn mhlith y Saeson, ychydig o ba rai a dderbyniasant yr efengyl. Mae y Genadiaeth hon wedi bod dan ofal penaf y Brodyr Luddington a Savage, tan lywyddiaeth yr Esgob N. V. Jones, trigle yr hwn sydd yn Calcutta. Yn y lle yma hefyd, ynghyd â Bombay, Burmah, a Thaleithiau gogleddol yr India crewyd ychydig gynhwrf, a hyny y rhan amlaf yn mhlith y Saeson; eithr gan fod y mwyrif o honynt yn filwyr yn y Fyddin Frytanaidd, rhwystrai y Swyddogion hwy yn aml i fyned i'r cyfarfodydd, nac i ymgyfeillachu â'r Saint mewn un modd. Hefyd. gwrthwynebasant lawer ar y brodyr yn eu hymdrechiadau gyda'r brodorion. Yn Hamburg, a llawer o'r Taleithiau Ewropaidd, mae ein Henuriaid lawer tro wedi cael eu carcharu, ac yn y diwedd wedi cael eu halltudio o'u gororau. Eithr yn mhob un o'r llefydd hyn mae y gair wedi cael ei hau, ac mae y brodyr cartrefol, a feddant hawl i aros, yn pregethu ac yn dysgu yno, fel y dygwydda cyfleusderau, drwy osod sylfaen a ddiwedda o blaid achos Seion, drwy agor y ffordd i bregethiad yr Efengyl, a thori ymaith rwymau penboethni, ofergoeledd, a thywyllwch, sydd wedi caethgludo y ddaear cyhyd.

Yn Lloegr, Ysgotland, Ynysoedd Orkney, yr Iwerddon, Switzerland, Denmarc, Sweden, Norway, Ynysoedd y Cyfyngfôr, rhai parthau o'r Unol Daleithiau, y Taleithiau Brytanaidd, ac Ynysoedd y Môr Tawel, mae y gwaith wedi bod, ac yn llwyddo, gan ychwanegu o hyd at yr Eglwys, ac agor maesydd llafur newyddion eangach.

Yn ein Tiriogaeth ein hunain yr ydym wedi cael ein bendithio â iechyd, heddwch, a llwyddiant anghydmarol. Ymaddfedodd y cnydau, a buont fwy digonol nac erioed o'r blaen yn y dyffrynoedd hyn, er y gwnaethpwyd cryn niwed gan geiliog-y-rhedyn yn mis Gorphenaf, ac yr oedd rhew caled a iâ ar y 30ain o Fai, a'r 15fed o fis Medi. Hwn oedd y tro cyntaf, oddiar pan yr ymsefydlasom yn y dyffrynoedd hyn y gallem ddweyd y fod mwy na digon i'r trigolion o lafur wedi ei godi

ac er fod sypyn annysgwyliadwy, anarferol a mawr wedi myned i borthi byddin yr U. D. a lettyent yn ein plith yn ystod y gauaf, o'r 2il o Fedi hyd yr amser presennol, etto i gyd credwn y bydd cyflawnder i'n digoni hyd oni cheir ychwanegiad eto gan gynheuaf arall.

*(I'w barhau.)*

---

## LLYTHYR O'R DYFFRYN.

*Dinas y Llyn Halen, Mai* 27, 1855.

ANWYL FRAWD JONES,—Gwyddoch trwy brofiad mai melys yw derbyn llythyr o wlad ein genedigaeth; felly y teimlais wrth dderbyn y llythyr cyntaf oddiwrthych chwi ar y 14 o'r mis hwn, er ei fod yn ddyddiedig oddiar Ionawr 24, 1855. Yr achos iddo fod mor hir cyn cyrhaedd oedd, i'r mail fod dri mis cyn dod i mewn. Mae gwell argoelion iddo ddod yn gysson o hyn allan.

Dymunol genyf yw clywed fod yr efengyl yn myned rhag ei blaen, yn enwedig yn y wlad y bum yn llafurio fy hunan. Gobeithiaf y defnyddia y Cymry bob manteision a gânt trwyddoch chwi a'ch cyd-lafurwyr, fel na fyddont yn ol mewn dim.

Mae fy nawn ysgrifenu wedi cymmeryd ei haden er ys llawer dydd, a rhaid i mi foddloni ar fod yn fyr, ac ymdrechu rhoddi ychydig o hanes y lle hwn, rhag ofn i mi ollwng yn anghof yr hyn wyf yn gofio. Dywenydd genych fydd clywed fod y deml ar waith o hyd, a'i bod i gael ei hadeiladu o wenith-faen *(granite)*, yr hwn a fwriedir ei gludo yma ar hyd camlas o South Cottonwood. Clywais hefyd fod y Gwaith Haiarn mewn llawn waith, a bod galwad am gant a hanner o bersonau yn rhagor er ei gario yn y blaen. Bu y ffwrnais ar waith ddwy wythnos o'r bron, ac aeth y tân allan yn unig o herwydd eisieu help i gael tanwydd. Mae yr adeilad at roddi cynnysgaethiadau wedi ei orphen a'i agor, a rhai o'r cenadon wedi cael eu cynnysgaeth eisoes. Cafodd oddeutu cant a hanner eu danfon i bregethu i'r Indiaid, a thebygol yw y gwneir gwaith mawr trwyddynt. Nid oes neb hyd yn hyn wedi ei benodi i Gymru.

Mae y tywydd wedi bod yn sychlyd iawn hyd yr wythnos ddiweddaf, pryd y gwlawiodd ddigon i ddyfrhau y ddaear yn

dda, yr hyn a ddwg well gobeithion am y dyfodol. Ceiliogod y rhedyn yw ein gelynion gwaethaf yn awr, ond gobeithiwn y cânt hwythau eu gorchfygu cyn y gwnant lawer o niwed.

Mae llawer iawn o adeiladau gwychion yn y ddinas hon yn cael eu hadeiladu yn feunyddiol; ac os Duw a'm llwydda, yr wyf innau am orphen tŷ i'm hunan cyn y gauaf nesaf, os bydd yn bosibl.

Mae y brawd W. S. Phillips yn byw mewn lle a elwir Box Elder, oddeutu 60 milltir oddiyma, ac wedi troi yn ffermwr.

Synais yn ddiweddar wrth weled Sarah, gwraig David Evans, gynt o Gaerdyf, yn cerdded mor syth ac ystwyth, pan gofiwn nas gallai symud cam yn yr hen wlad, gan weddid yn ei chefn. Dywedais wrthi ar y pryd yr ysgrifenwn am dani yn fy llythyr.

Terfynaf y llythyr hwn, gan ddymuno arnoch fy nghofio at yr holl Saint a'r swyddogion, ac yn neilliduol atoch eich hunan a'ch Cynghorwyr.

Yr eiddoch yn y gwirionedd,

JOHN DAVIS.

---

## DYLED CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG.

MEWN Cymmanfa a gynnaliwyd yn y dref hon ar yr 21ain a'r 22ain o'r mis blaenorol, galwyd sylw y Saint at y dyledion sydd wedi bod yn sefyll ar y gyfran hon o winllan Duw, rhai o honynt er ys blynyddau, ac er ein syndod a'n mawr lawenydd cafwyd dros gant o wirfoddoliaid a floeddiasant allan eu henwau i gyfranu dros £70 o arian tuag at eu dyled mor gynted ag y bo modd, yr olaf o honynt yn ystod y chwarter hwn. Er canmoliaeth i'w haelioni parodol, er dangos faint eu cariad at achos yr Arglwydd, ac fel y dywedo eu hesiampl hon wrth bawb ereill sydd mewn dyled, – "*Ewch a gwnewch yr un modd,*" cydnabyddwn eu taliadau yn yr UDGORN mor gyflym ag y deuant i'n llaw, fel y gwelo eu heppil hefyd waith eu tadau; ac wrth barodrwydd anghydmarol ein chwiorydd anwyl i roddi eu henwau credwn eu bod hwythau am gadw eu hunain yn nghoffadwriaeth y cyfiawn, a phrofi nad euog y'nt o'r esgus a ddyry ambell ŵr rhag cyfranu at achos Duw. Ni all y dynion hyn ddweyd fel y dywedodd ein hen dad Adda am eu briod, "y wraig a roddaist i mi," hi a'm lluddiodd, mwyach. Credwn mai

esgus fenthyg oedd hona gan amlaf; diolchwn i'r chwiorydd am fod eu parodrwydd presennol wedi profi ein bod yn synied yn gywir am eu haelioni; a dywedasom mai hwy fyddai y cyntaf i gyflawni, credwn hyny hefyd, a chredwn y profant hwy ein gair yn wir hyd y bo yn eu gallu - maent yn mlaenaf hyd yn hyn! Llawenhawn yn y sêl hon dros Eglwys Dduw, o herwydd dyry brawf chwanegol o rym eu cariad ati, ac agora eu calonau a'u llogellau fel y caffo y Duw hwnw a dâl ar eu canfed, le agored a theilyngdod i arllwys ei fendithion ysbrydol a thymmorol iddynt. Os siomir un yn hyny, hysbyser ni ar ddiwedd y chwarter.

Am y cyntaf y rhoddasant yr addewidion hyn, a than wênu —pa faint mwy fydd eu gorfoledd pan yn *cyflawni*? Amser a brawf.

Mae y llyfrau yn agored i ychwaneg o enwau, a'r Swyddfa i'r taliadau. Gweled Llywyddion y Cangenau fod y rhai nad ydynt yn cyfranu fel hyn, yn cyfranu yn wythnosol, a chofrestrer y swm ar y "Tafleni." Deued y Llywyddion a chyfraniadau ac enwau y gwirfoddoliaid na allant ddyfod yma, gyda hwynt i'r Cynghorau, a throsglwydder gyda eu gilydd, neu ymuned y rhai fydd yn barod yr un pryd i gael swm, a danfoner hwynt a'r enwau drwy y *Post Office.*

Bwriedir cyhoeddi enwau y sawl na thalo erbyn diwedd y chwarter, os bydd y fath un, fel y gallo y lleill ei gynnorthwyo i gyflawni ei adduned, os metha, canys "gwell bod heb addunedu, nag wedi addunedu beidio talu," medd Duw. "Eithr, lle mae ewyllys ceir ffordd."

Heb gredu y buasai y brodyr mor haelionus, addawsom eu cynnorthwyo i dalu eu dyled; ond, *safwn at ein gair* gyda PHLESER, er nad oeddym gyfranog o'i greu, nac yn cael dim elw o hono ein hunan; etto, mae ein hawydd mor fawr i weled achos Duw allan o ddyled, fel y meiddiasom addaw talu cymmaint â hanner dwsin o'r brodyr a roddai fwyaf oedd yn y cwrdd boreu, yr hyn a welir ar gyfer ein henw, ac y mae wedi cael ei dalu, ond nid yn *gyntaf* fel y meddyliasom— aeth *dwy chwaer* o'n blaen er ein gwaethaf! Nid ymffrost, ond eglurhâd o'r hyn a wnaed yw hyn. Pwy a wna yn well? Gall llawer un.—A ganlyn yw enwau y rhai a dalasant hyd y laf o Awst:—

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| 1. Mary Morgans, Castellnedd . . . | 0 | 2 | 6 |
| 2. Sarah Walters, Cangen Seis. Abertawy . | 0 | 2 | 0 |
| 3. Llywydd Dan Jones . . . . | 7 | 16 | 0 |
| 4. Thomas Harries, Gynt o Dre-Sior . . | 0 | 10 | 0 |
| 5. Margaret Harries, ei wraig . . . | 0 | 10 | 0 |
| 6. John Walters, Cangen Seis. Abertawy . | 1 | 6 | 0 |
| 7. Esther Walters, ei wraig . . . | 0 | 7 | 0 |
| 8. William Lewis, Abertawy . . . | 1 | 0 | 0 |
| 9. John Treharn. Aberafon . . . | 1 | 5 | 0 |
| 10. John Jones, Cwmbach . . . | 2 | 10 | 0 |
| 11. David John, Glandwr Abertawy . . | 0 | 2 | 6 |
| 12. Elizabeth Jones, Abertawy . . . | 0 | 2 | 6 |
| 13. Thomas Lewis, Treboeth . . . | 0 | 5 | 0 |
| 14. Margaret Lewis, ei wraig . . . | 0 | 5 | 0 |
| 15. John Evans, Treboeth . . . | 1 | 0 | 0 |
| 16. Richard Brooks, Cangen Seis. Abertawy | 0 | 5 | 0 |
| 17. Mary Jane Cutliffe, Etto . . . | 0 | 3 | 0 |
| 18. Benjamin Evans, Cyfyng, . . . | 0 | 5 | 0 |
| 19. Henry Mathews, Abertawy . . . | 1 | 0 | 0 |
| | £18 | 16 | 6 |

D.S. Mae rhai ereill wedi talu cyfran, eithr ni chydnabyddir hwynt drwy yr UDGORN, hyd oni chyflawnant eu haddewidion.

---

# MYNEGIAD CYFRIFIADOL

O EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF YN NGHYMRU, AM YR HANNER BLWYDDYN YN TERFYNU MEHEFIN 30, 1855.

LLYWYDD,

Dan Jones.

CYNGHORWR.

Daniel Daniels.

| *Cynnadl.* | *Cang.* | *A.* | *H* | *O* | *Ath.* | *Di.* | *Tor* | *Ma* | *Ym* | *Bed* | *Oll.* | *Llyw.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Morganwg Ddwyr. | 34 | 0 | 259 | 83 | 97 | 54 | 124 | 12 | 102 | 80 | 1741 | R. Evans. |
| Morganwg Orllew. | 18 | 1 | 77 | 32 | 21 | 19 | 13 | 3 | 6 | 38 | 445 | Dan Jones. |
| Sir Fynwy ...... | 20 | 0 | 82 | 22 | 27 | 13 | 30 | 2 | 13 | 34 | 509 | T D. Giles. |
| Sir Frycheiniog .. | 7 | 0 | 28 | 4 | 5 | 5 | 7 | 0 | 2 | 9 | 138 | T. Morgan. |
| Llanelli.......... | 11 | 0 | 63 | 17 | 6 | 12 | 12 | 5 | 7 | 30 | 313 | Ben Jones. |
| Caerfyrddin...... | 7 | 1 | 20 | 7 | 4 | 4 | 14 | 2 | 8 | 12 | 132 | T. Jenkins. |
| Deau Penfro .... | 12 | 0 | 28 | 5 | 2 | 7 | 6 | 2 | 11 | 15 | 189 | John Price. |
| Gogledd Penfro.. | 4 | 0 | 11 | 2 | 0 | 1 | 2 | 3 | 10 | 1 | 33 | T. D Evans |
| Sir Aberteifi .... | 5 | 0 | 14 | 4 | 1 | 1 | 3 | 0 | 3 | 1 | 106 | Ben. Evans. |
| Sir Feirionydd .. | 6 | 0 | 14 | 7 | 2 | 2 | 0 | 0 | 0 | 1 | 75 | John Davies |
| Sir Fflint........ | 5 | 0 | 20 | 4 | 4 | 3 | 3 | 0 | 7 | 15 | 125 | L. Davies. |
| Sir Ddinbych .... | 4 | 0 | 14 | 4 | 4 | 2 | 4 | 3 | 2 | 5 | 113 | John Parry. |
| Môn a Conwy.... | 6 | 0 | 22 | 7 | 3 | 2 | 4 | 1 | 11 | 3 | 97 | Wm. Lewis. |
| *Cyfanswm....* | 139 | 2 | 652 | 198 | 176 | 125 | 222 | 33 | 182 | 244 | 4016 | |

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, AWST 4, 1855.

Epistol y Brif-Lywyddiaeth.—Gwledd i garwyr Seion yn ddiau, os nad i'n holl ddarllenwyr, fydd darllen, myfyrio, a chnoi eu cîl ar yr egwyddorion nefolaidd a gynnwysa; arddangosant ofal cynnyddol ein tadau yn yr Arglwydd dros lesiant plant gwasgaredig Seion,—mawr diriondeb Duw at Seion yn ei holl amgylchiadau tymmorol ac ysbrydol, a chynnwysa destunau gorfoleddu yn y gobeithion am y dyfodol yn fwy nag erioed o'r blaen.

Dyfodiad y cyfnod argoelus pan yr anfonir yr efengyl i hâd Abraham, gan ddechreu yn mhlith eppil yr hwn a gafodd yr enedigaeth fraint, sef Joseph, gweddillion yr hwn yw yr Indiaid Americanaidd, sydd gyflawniad o hen addewid Duw, a adnewyddwyd drwy y Prophwyd Joseph, ac a ddysgwylid yn hiraethog gan y Saint—rhagredegydd i gascliad y llwythau ereill i Jerusalem, ac i "waith mawr a dyeithr y Tad"—wele ef wedi dyfod. Mae y gyfraith *wedi* myned allan o Seion drwy yr "helwyr a'r pyscotwyr" wrth y cant a hanner ar unwaith, a channoedd o hâd Ephraim yn mwynhau Ysbryd eu tadau eisoes! Awgryma hyn i ni fod "amser y cenedloedd" bron a dyfod i ben, ac mai byr waith sydd yn ngweddill.

Ymddeffrown oll i gyflawni ein rhan, a'n pleser fyddo drachtio o ysbryd Seion, drwy gydymffurfio a chyflawni yr oll a orchymyna yr Epistol hwn.

---

Newyddion o'r Dyffryn.—Dywenydd genym hysbysu fod genym lawnder o newyddion da yn chwanegol i'r hyn a gynnwysa yr Epistol, a dderbyniasom oddiwrth frawd hoff, priod anwylaidd (yr hon a ddymuna anfon ei chofion caredig at y Saint Cymreig, yn neillduol ei chydnabod), ac a dderbyniasom drwy y "Deseret News," a thrwy garedigrwydd ein hanwyl Gyngharydd, ac ereill, yn rhoi eu llythyrau at wasanaeth y

cyhoedd; er hyny, esgusodir ni o herwydd pwysigrwydd pethau ereill am gadw y gweddill hyd y nesaf, ond llythyr ein parchus Frawd Davis. Addawwn yn deg eu dyddanu y pryd hyny.

---

Y GWIRFODDOLIAID.—Mae galwad taer o bob cŵr o Gymru, gan y Llywyddion a'r byd, am chwaneg o'r gwroniaid hyn i'w plith. Geilw y Bugail J. Parry a Lewis Davies yn daer a mynych ar frodyr y Deheu i ddyfod i deithio yn eu Cynnadleddau cyn yr elo y tywydd ffafriol hwn heibio. Frodyr, nac aroswch i hogi eich crymanau nes yr elo y cynheuaf heibio! Edrychwn yn ddyddiol am danoch yn dilyn sodlau y brodyr ffyddlon a aethant y ffordd hyn yn ddiweddar! Nac oedwch, yn enwedig y rhai a roddasant eu henwau eisoes. Deued ereill a allant gyda eu henwau ar frys. Geilw Wm. Lewis, Môn, yn gysson o wythnos bwy gilydd, am gynnorthwy i Siroedd Môn ac Arfon, a thir Llŷn, yr hwn sydd gyfran helaeth o Gymru heb neb o blith y degau o filoedd a gynnwysa yn Saint, na neb wedi ceisio nemawr ganddynt ddyfod erioed chwaith. Diau fod miloedd yn Nghymru etto heb glywed yr efengyl, tra mae lluoedd o bregethwyr yn syfrdanu clustiau miloedd ereill â'u pregethu, y rhai na fynant mo yr efengyl. Frodyr, chwiliwch y rhai gonest, a rhybuddiwch yr oll yn ddidderbynwyneb, canys byr amser sydd genych, cofiwch. Deuwch, ynte, ac nac oedwch! Chwilied Llywyddion gyda ni am wirfoddoliaid yn eu Cynnadleddau, ac anfonant hwynt yma yn ddioed.

*Bro Morganwg.*—Mae yr Henuriaid Wm. Jones J. Treharn, David Evans, &c. yn ffurfio gosgordd o'u byddin i ryfela dros yr Iesu yn y wlad helaeth hon, a galwant am ychwaneg o help. Yr Arglwydd a fendithio eu llafur yn fawr. Saint yr Arglwydd! gweddiwch dros y gwirfoddoliaid, ac am fendith ein Duw ar eu llafur. Mae ein tudalenau yn rhy fychain o lawer i ni ddweyd y filfed ran o'n teimladau ar y pen hwn, ond hyn a ddywedwn o'n calon, Ysbryd ein crefydd fel tân â'n hyso gan sêl dros achubiaeth eneidiau a bywydau ein cyd-ddynion rhag yr aflwydd sydd bron ar eu gwarthaf eisoes!

---

AT Y LLYWYDDION.—Ein hesgusawd dros beidio gohirio y sylwadau a ddylyna ar y testun hwn, yw y pwysigrwydd mawr a welwn ynddo, a'r llwyr anghen sydd i ymchwiliad manwl a

thrwyadl i, a diwygiad buan yn Nosbarthiad y llyfrau, y *dyled-ion* am danynt a geisiem ddweyd, a hyderwn na fydd ein cais yn aneffeithiol!

---

## AT LYWYDDION CYNNADLEDDAU A CHANGENAU!

Dyledion am Lyfrau.—Mae mawr anghen diwygiad cyff-redinol—*trwyadl* mewn rhai manau yn yr oruchwyliaeth bwysfawr hon perthynol i eglwys Dduw. Wedi hir wasgu ein clustiau gan ddysgwyl i'r addunedau a geid esgor ar ffeithiau a lleihau y dyledion am lyfrau, a'i weled er hyny yn cynnyddu yn gyflym o hyd, heb nemawr eithriad, gorfoda y ffaith ofidus —ddrwg-argoelus hon ni i alw sylw y rhai y perthyna at yr achos o hyn, ac i ddyfeisio a gweinyddu meddyginiaeth an-ffaeledig a buan iddo.

Dallineb hollol a achosa i neb feddwl fod talu am y llyfrau a gyhoeddir gan eglwys Dduw yn ormod o dreth arnynt; diffyg chwaeth yn eu cylla ysbrydol am ymborth i'r enaid yn unig a faga y clefyd marwol yna yn y meddwl, canys hollol groes yw y ffaith; eu lleshâd penaf hwy yw y prif ddyben o gyhoeddi, ac mae eu lles yn gynnwysedig yn eu pryniad hwythau o'r llyfrau, eu darllen, eu gwerthu, ac mewn *talu am danynt yn brydlon.* Lleshâd y Saint sydd yngolwg gweision Duw yn cyhoeddi egwyddorion y bywyd drwy y wasg yn gys-tal a thrwy eu pregethu iddynt, a'r sawl na foddlona i dalu traul y naill fel y llall yn gyfiawn, a fforffetia ei hawl i'r lleshâd o wasanaeth y naill fel y llall. Eithr ni raid i ni ymresymu ar y pen yna; nid diffyg chwaeth y Saint am lyfrau, ac nid eu hesgeulusdod i dalu am danynt yw y prif achos o gynnydd y ddyled, ysywaeth, er fod lle, a mawr anghen gwelliant yn hyn, fel y profwn yn fuan.

Yn mhlith y Dosparthwyr yr ydym wedi cael yr annhrefn mwyaf oll. Drwy ymchwiliad i'r fusnes hon yn ddiweddar yr ydym wedi cael gafael ar rai allweddau i ddadgloi y dirgelwch o gynnydd y dyledion am lyfrau; sef, fod yr îs-ddosdarthwyr yn rhy fynych heb gadw cyfrifon o'u derbyniadau ond eu côf, ac heb ystyried cyssegredigrwydd yr arian hyn, yn eu cael yn gyfleus iawn i ateb eu gofynion personol, i dalu y shop, i brynu gŵn newydd i'r wraig, traul taith i ddwfr y môr, i rodiana, neu

unpeth arall a fo galw ar y pryd; yn bwriadu eu talu i'r prif ddosparthwr rhyw amser pennodol, bid siwr, pan gaffo y "*draw*," y "*pay*," neu ryw arian mawr ar ol marwolaeth hen fodryb, neu arian dirifedi sydd yn llwydo er ys oesoedd yn y *Chancery* ar fin dod i'w grafangau ef! O na, dim meddwl am anonestrwydd yn y peth wrth gwrs, ond methu cael ei amcan ar y pryd addawedig, nid oes ond addunedau i'w cael am yspaid, hyd nes bydd y rhai hyny wedi suro, ac yntau wedi crino, —Ysbryd Duw wedi cilio oddiwrtho fel oddiwrth blâ, ac erbyn hyny cewch dafod drwg os gofynwch am arian, allan ag ef i'r byd wed'yn dan gredu ei fod yn rhydd yno oddiwrthynt! Os oes Llywyddion Cangenau yn adnabod rhyw bethau yn debyg i'r darlun uchod, gofynwn iddynt ein hysbysu ar bwy yr oedd y bai mwyaf am adael i'r fath un gael rhaff mor hir? O na, ni ddylid caniatâu i Ddosparthwr na Llywydd ddefnyddio un geiniog o arian y llyfrau, nac unrhyw arian arall at ddim ond yr hyn y perthynant. Os bydd îs-ddosparthwr heb dalu i bob cynghor, chwilied y llywydd i'r achos o hyny yn y fàn, ac os na chaiff foddlonrwydd dyger ef i Gynghor, ac os yn anghyfiawn, nid yn unig symuder ef o fod yn Ddosparthwr, ond gwneled iawn cyfaddas a boddhäol i'r holl Saint am ei drosedd yn eu herbyn, canys gwas i'r Gangen yw yr îs ddosparthwr, o'u dewisiad eu hunain, a hwy ydynt ei feichiau i dalu ei ddyled. Felly am y prif ddosparthwr i'r Gynnadledd; a dyledswydd y Llywydd yn arbenigol yw gosod dynion i chwilio i'w fusnes, a dyledswydd unrhyw un a ŵyr fod esgeulusdod yn hyn yw hysbysu hyny i'w Lywydd, ac yna, os na ddiwygia, i ni. Felly yn y gangen hefyd.

Er mwyn rhagflaenu annhrefn o'r fath, a hwyluso i iawn drefnu cyfrifon, cyhoeddasom dafleni pwrpasol i'r Dosparthwyr i wneyd i fyny y llyfrau ar law yn ol pris y Swyddfa, a dyledion y cangenau ar y naill ochr, a gofyniadau y Swyddfäau i'w cyferbynu ar yr ochr arall, y gwahaniaeth a brawf ddyled personol y Dosparthwr, yr hyn, gweled pob Llywydd ei fod yn cael ei dalu ar y pryd. Gyda hyn o eithriad, gall yr un tafleni ateb i'r îs-ddosparthwyr, sef, na chaniateir iddynt gyfrif dyledion personol ar eu tafleni, canys y mae coel yn hollol waharddedig gan gyfraith yr eglwys. Eithr os dewisa y dosparthwr gymmeryd arno y cyfrifoldeb o wneuthur hyny o gymmwynas

i'r derbyniwr neu dderbynwyr am yspaid, craffer, mai ar ei gyfrifoldeb ei hun y gwna hyny. Gwelsom restri hirfaith-*golofnau* meithion yn ddiweddar o enwau personau dyledus am lyfrau, ac ar eu cyfer, o ychydig sylltau hyd bunnoedd! Ha-wyr! pa syndod fod amryw o honynt wedi digio Duw drwy hyny, a gwrthgilio yn ddiau o'r eglwys o'r herwydd, rhai mewn gwledydd ereill, oddiyma hyd Awstralia, ac enw ambell swydd-og heb dalu am gymmaint ag un geiniog am *Udgorn* er ys mwy nâ blwyddyn. Dim llai nâ £9 14s o ddyledion personol fel hyn heb nemawr neb yn gyfrifol mewn un gangen, a swmiau llai mewn manau ereill! Frodyr, mae y fath wastraff ar eiddo Duw yn anghyfiawn hollol! Ni ddyry Duw oruchwyliaeth fwy i'r sawl a allant fod mor ddiofal ac afradlon mewn stew-ardiaeth mor fechan â llywyddu Cangen, neu ddosparthu llyfrau! At gario ei waith Ef, cofier, y mae elw y llyfrau (pe bae elw yn lle colled yn bod hefyd) i gael eu defnyddio, sef er ymfudo y tlodion tua thref, adeiladu Seion, a'i themlau, &c. Diwygier, ynte, Frodyr. *Bydded i bob dosparthwr fyned yn ddioed at y dyledwyr hyny, a chael ganddynt dalu* yn ddioed—deg i un ar nad hawddach cynt nâ hwyrach i wneyd hyny; ac os metha lwyddo ysgrifened eu henwau a'r swmiau dyledus yn gywir, a rhodded ef i Lywydd y Gangen i'w ddarllen ar gy-hoedd y cwrdd Saint nesaf, ac os na etyb y rhybudd barned cynghor o henuriaid y Gangen beth fydd ei haeddiant. Gwneler hyn goreu po cyntaf, canys os gwelir wedy'n y bydd colled anocheladwy drwy ysgymundod, neu, os o herwydd tlodi y bydd y Gangen mor haelionus â thalu dros y gonest tlawd, goreu po cyntaf iddynt gael deall pa faint fydd, *a'i dalu yn y fan. Dylid gwneuthur hyn bob chwarter, a gwneyd casgliad bob chwarter i wneyd i fyny y golled os bydd colled yn y chwarter*, o herwydd rhyw ddiffygiadau, yr hyn, os na ellir ei rwystro yn hollol o hyn allan, a ragflaenir hyd y gallo y Llywyddion, hyderwn.

O dan bob amgylchiad mae y Dosparthwr yn gyfrifol am yr oll a dderbynia hyd y gallo dalu, canys, fel y nodwyd, heb genad y Gangen ni fedd hawl i roddi coel drosti, nac i ofyn iddi dalu yr hyn a goelia efe allan. Tra mai pleser fydd gan bob Cangen dalu pob dyledion gonest dros dlodion, gobeithiwn y rhagwela y Llywydd y cywilydd a'i hamdöa ef os gadawa i

unrhyw anonestrwydd personau gael ei daflu yn faich ar ei Gangen!

Dyledswydd y Llywyddiaeth hefyd yw cynnorthwyo y Dosparthwr, drwy annog yn y cyrddau, &c., i brynu, ac am i'r oll a ddymunant les dynion a ffafr Duw ei gynnorthwyo i werthu y *stock* ar law yn mhob dull a allant; canys y mae traethodu yn llesiol fel pregethu, llywyddu, neu unrhyw gyfran arall o'r gwaith a ofyna Duw genym, ac fe'i gwobrwyir fel y cyfryw.

Mae un peth arall ag y dymunwn alw sylw Llywyddion a Dosparthwyr ato, mewn cysylltiad â dosparthu llyfrau, sef fel y canlyn:—caniateir elw am werthu y llyfrau o tuag un bunt o bob chwech, saith neu wyth, yn ol yr hysbysiad ar y llyfrau, mae y drydedd ran o hyn i'r îs-ddosparthwr, a'r ddwy ran arall i'r prif; yn awr, nid cyfiawn eu bod hwy yn trosglwyddo gwerth wyth neu ddeg punt o'u dwylaw, ac heb hidio cymmaint am dderbyn yr arian am danynt, ond am y caffant eu rhan hwy i mewn! Nid Dosparthwr ffyddlon, os *gonest*, yw yr hwn a gadwo y gyfran ddyledus iddo ei hun yn gyntaf, fel "ysgub y cwhwfan," heb ddwyn y cynheuaf i mewn i'r Swyddfäau. Mae yn wir ei fod ef i gael ei ddigolledu, trwy fod y Gynnadledd neu y Gangen yn feichiau iddo, etto ni ddylai godi ei dâl o arian y blaenffrwyth am yr oll a ddyry allan, onide, gwelir ei fod ef wedi medi y brasder oddiar yr oll sydd yn sefyll ar law yn mhob cangen, heb wneyd nemawr neu ddim ymdrech i'w gwerthu, efallai. Cofier nad *chwalu* eiddo yr Eglwys, po fwyaf yw swydd Dosparthwr, ond y mae *casglu* yr arian am y cyfan yn gymmaint dyledswydd arno â'r *gwasgaru*, a'u *talu* i'r Swyddfäau yn *ddiwed* mor bwysig a'r naill a'r llall. Gwelir yn amlwg y byddai caniatau i'r Dosparthwr i dalu ei hun o'r arian cyntaf a ddelo i'w law am ei ran ef o'r oll a aeth allan, yn rhoi skimer yn ei law i hela yr holl hyfen melyn oddiar ddysglau llaeth ei gymmydogion, a gadael ei olynwr i werthu "llaeth skim," heb ddim tâl am ei drafferth, neu i'w gadael i lwydo yn y fan, ac anfon am ereill fel y gallai yntau wneyd yr un modd! Eithr nid felly, frodyr, y dysgasom ni Grist, ac nid fel yna y dylai neb wneyd â'r eiddo a ymddiriedodd Duw dan ei ofal. Ymdrech deilwng y Dosparthwr yn unig i gasglu yr *oll* sydd ddyledus a'i teilynga i gael ei ran o'r

arian a dâl i *mewn*, ac nid i'w dalu ei hun, yr oll am y cyfan *caiff allan*, o'r ychydig a ddaw i'w law gyntaf.

Mae canlyniadau ereill etto o beidio talu am eu llyfrau, ag ydynt bwysicach a mwy niweidiol fyth, na'r oll a nodwyd, yn enwedig i'r dyledwyr, sef, y ffaith o fod yr esgeulusdod, os nad yr *anonestrwydd* hyn yn digio Duw, ac yn amddifadu yr euogion o'i Ysbryd Glân. Mae hyn yn ffaith alarus, eithr wedi ei phrofi yn ddiammheuol i laweroedd, heblaw i nyni, drwy ormod o esiamplau: ac os oes un a ammheua, chwilied i hanes gweithredoedd y dynion hyny sydd yn llesg, yn glaiar gyda'r achos, ac yn dirywio i dywyllwch, ac oni chânt allan brofion digonol mai dyma ddechreuad y malldod —y mwsagl a wywodd ireidd-dra y pren, os nad dyma wreiddyn y drwg a dechreuad y ddarfodedigaeth andwyol ar naw o bob deg amgylchiad, argyhoedder ni o'n camsynied. Mewn arholiad i'r plâ angeuol hwn o flaen Cynghor o ugeiniau o swyddogion yn ddiweddar, cyd-dystiau llaweroedd eu bod hwy wedi cael profion eglurhâol mai y rhai tlota a mwyaf diffrwyth bob amser braidd oedd y rhai a gyfranant leiaf at gario achos Duw yn mlaen, ag ydynt hwyrfrydedicaf i dalu am eu llyfrau, hyd nes mae yn ddiareb gyda llawer mai canlyniadau dieithriad braidd o'u hesgeulusdod o'r dyledswyddau pwysig hyn yw eu tlodi tymmorol ac ysbrydol. Ac onid yw hyn yn egwyddor gydrywiol â phob egwyddor arall yn eglwys Dduw? Onid yn ol eu gweithredoedd y mae Duw yn talu i'w holl blant? Gŵyr pob Sant mai po ffyddlonaf y cyflawna efe ei ddyledswyddau y bendithia Duw ef; mae hyny yn profi hefyd mai po leiaf a w..elo lleiaf a gaiff, po leiaf a gyfrana at achos Duw po leiaf a fendithia Duw ar y gweddill a feddo. Os nad gwir hyn yn mhob peth nid gwir yn unpeth; os nad gwir mewn pethau arianol nid gwir yn yr hyn a elwir yn fwy ysbrydol; ac os felly, nid dwyfol y grefydd a ofyna y naill beth na'r llall. Lleshâd personol y diffygiol a'n cymhella i alw sylw manwl Llywyddion at hyn, ynte, yn ogystal â phethau ereill. Holed y dyn ef ei hun ag sydd yn teimlo ei hun yn myned yn dlotach, po fwyaf a wingo yn ei erbyn, a phan deimlo fod Ysbryd Duw yn cilio yn raddol oddiwrtho, chwilied i mewn onid ei esgeulusdod i dalu i Dduw a'i achos ei gyfiawn ofynion yw y prif achos o hyny! O leiaf, mae yn ffaith rhy anhawdd ei chuddio fod argoelion o wên y nef—ffyn-

iant a bendith ar gorff ac enaid y cyfranwr haelionus, ar ei deulu a'i feddiannau, tra y mae effeithiau hollol groes ar ei gymmydog agosaf sydd a'i galon rhy gauedig i gyfranu ychydig o'i lawer i'r Duw sydd yn benthyca y cyfan iddo, a'i *einioes* heblaw hyny.

Mae Llywyddion yn ddiwyd ganmoladwy i anfon yr athrawon, a myned eu hunain ar ol ac i geisio adferyd y rhai llesg i fywiogrwydd, eithr pe yr iawn ddeallent eu clefyd, annogent hwynt yn y lle cyntaf i wneuthur cyfiawnder â Duw yn y pethau hyn—dyma wreiddyn y drwg, neu yn nes iddo nag y meddyliodd llawer! Dyma ffordd effeithiol i adferyd y llesg, ynte, i ffyddlondeb. Gwir mai chwerw yw physigwriaeth bob amser braidd, felly yma; etto, po chwerwaf yw i'r genau po fwyaf ei anghen ar y cylla, ac felly yn hyn. Annogwn y claf o'r clefyd hwn i gymmeryd y feddyginiaeth anffaeledig hon er mwyn ei gorff, ei gysur, a'i enaid.

Nac ystyrier ein bod yn dweyd yn rhy eglur ar y mater hwn, ac ni feddylia y dieuog hyny ychwaith, ein dyled yw i'r Saint gonest, ac i'r anffyddlon er eu hadferyd i eglwys Dduw, yn ol yr oruchwyliaeth a ymddiriedwyd i ni i ofalu dros y pethau hyn; ac mae y dyfodol argoelus yngwyneb y ffaith ofidus o fod dyled y Cynnadleddau Cymreig i'r Swyddfa hon wedi cynnyddu £123 7s 8¾c yn yr hanner blwyddyn olaf, ac i Swyddfa Liverpool yn gyffelyb, hyd nes y mae yn aros i'r flaenaf yn awr yn ddyledus am lyfrau y swm o £616 11s 9¼c, ac i'r olaf nemawr lai; mae y symiau dirfawr hyn yn ein symbylu i alw pawb at eu dyledswydd.

Yn ngwyneb hyn nid ydym ni wedi cyhoeddi yr UDGORN ond ar yn ail yn lle bob wythnos, fel yr oedd cynt, ac yn y chwarter mynedol, heb anfon nemawr draethawd dimeu i unman, pan y gwyddom yn dda ddigon fod yn ngallu y Saint i werthu amryw filoedd o draethodau bob wythnos, heb gostio iddynt geiniog o'u harian, ond eu ffyddlondeb, pe gwnelent hyny. Eithr mae y ffaith fod y dyledion yn cynnyddu po leiaf o lyfrau a gaffant, yn y cyfartalwch, yn profi yr anghen o'r sylwadau hyn, ac ymchwiliad trwyadl y Llywyddion i'r achosion o hyny, ac i weled fod iawn drefn, cyfiawnder a ffyddlondeb yn hyn fel yn mhob peth arall, rhag ofn y bydd Ysbryd Duw yn ymadael yn hollol â hwynt, o herwydd eu hesgeulusdod; ac yr ydym ni mor ddi-

ysgog yn y pwnc hwn fel na chredwn y bendithia Duw eu hymdrechiadau â llwyddiant lawer, hyd oni lanhânt eu heglwysi o'r "Acan," neu y "Jona" hwn. Dysgwyliwn fwynhau y pleser o weled effeithiau y sylwadau hyn, drwy fod y Llywyddion yn deffroi at y gwaith o ddifrif, yn dethol y llyfrau sydd ar law yn eu cangenau yn gyfrolau, &c, yn lân a threfnus yn y *stock* ar law, a rhoi y rhai nad ydynt farchnadol yn nwylaw y Saint i'w gwerthu hyd y gellir, a thalu i'r dosparthwr am danynt. Caffer iawn drefn ar hyn, a dilyner yn mlaen mewn cyfiawnder, a cheir bendithion nef a daear yn gydfynedol â hyny, yn gan-waith mwy nag y dychymygodd neb.

---

DYLEDION AM LYFRAU AR Y GWAHANOL GYNNADLEDDAU, AM Y CHWARTER YN TERFYNU, MEHEFIN 30, 1855.

Mynwy, £65 11s 2¼c; Dwyreiniol Morganwg, £175 15s 1½c; Brycheiniog, £9 17s 11c; Gorllewin Morganwg, £154 8s 6¾c; Llanelli, £61 4s 8½c; Caerfyrddin, £27 10s; Sir Aberteifi, £16 14s 10¾c; Sir Fflint, £22 10s 5¾c; Dyffryn Conwy, £12 3 4¾c; Dinbych, £17 18s 0¾c; Gogledd Penfro £7 7s 7¼c; Môn, £18 15s 4¼c; Cang. Gym. Liverpool, £2 8s 5c; Sir Henffordd, £4 2s 1c; Meirionydd, £13 17s 11¾c; Deheu Penfro, 6s 4¼c; Swyddfa Liverpool, £5 19s 7¾c.—Cyfan £616 11s 9¼c.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O GORPHENAF 19 HYD 31.—B. Evans, £2; B. Jones, £9 1s 7½c; G. W. Davies, £3 6s 5c; C. Harmon, 8s 2c; W. Lewis, Gorllewin Morganwg, £5 2s 7c.

☞ Gwthiwyd Hanes Cymmanfa Gyffredinol Seion, a hanes dyddanus amryw Gymmanfaoedd Cymreig, ynghyd â gohebiaethau dyddorol allan o'r rhifyn hwn, y rhai yr ymdrechwn wthio i mewn iddo y cyfleu cyntaf.

⁂ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 17.] AWST 18, 1855. [CYF. VIII.

## DEUDDEGFED EPISTOL CYFFREDINOL

*Llywyddiaeth Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, at y Saint yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd, ac yn wasgaredig trwy yr holl fyd.*

[Parhad o dud. 244.]

Y MAE ein gweithfeydd cyhoeddus wedi myned yn eu blaen yn ddirwystr. Gorphenwyd y mur *adobie* oddiamgylch y Temple Block, a darparwyd a gosodwyd llawer o'r crib-feini. Gorphenwyd y Cynnysgaeth-dŷ sydd ar y Temple Block, a gosodwyd cryn lawer o sylfaen y Deml. Rhoddwyd y peiriant siwgr yn Big Kanyon Creek ar waith, ac y mae cŵr deheuol y Sendd-dŷ yn Fillmore yn cyflymu at ei orpheniad.

Adeiladodd y Degau a Thrugain neuadd gyfleus, yr hon a ddefnyddiwyd yn lled gysson drwy y gauaf, er na ddechreuwyd eu hadeiladu cyn y 13eg o Awst.

Y mae gwelliadau mawrion dinasyddol a gwladol wedi cael eu gwneuthur, sydd yn achosi syndod yn mhawb a sylwant, gan yr hwylusdod a'r llwyddiant anghydmarol sydd wedi cydfyned â'n holl ymdrechiadau. Mor deilwng o'n cydnabyddiaeth yw yr holl fendithion hyn i'r Tad tyner hwnw a'n hamddiffynodd rhag ein gelynion, ac a wlawiodd ei fendithion arnom. Parodd i'r ddaear ddwyn allan ei hŷd yn ei nherth, a'i bras ffrwythau er cynnaliaeth dyn. Yr elfenau hefyd a fuont gynnorthwyol, a dyfrhâd meithrinol y cynnar a'r diweddar

wlawiau ni attaliwyd, ac ni fethodd chwaith mo ffrydiau y mynyddoedd yn eu diwalliad arferol. Hefyd, fe ddygwyd helaethach diwalliad o nwyddau i mewn i'n Tiriogaeth nag arferol, am ba rai, er hyny, y mae mwy-fwy o alwad o hyd, ac er y fod llawer o ddefnyddiau gwisgo yn cael eu gwneuthur gan y bobl. Bu gweithfeydd a chynnyrch cartrefol yn ran o'n hymroadau masnachol, ymarferyd yr hyn yw dyledswydd pob Sant. Yr unig lwybr ydyw a allwn ddilyn gydag unrhyw sicrwydd am ein rhyddid, ac o barhau hyny o ryddid a feddwn, megys anrheg werthfawr, oddiwrth ein cyn-dadau a'n Duw.

Gwna ein Crefydd Santaidd ni ein gosod mewn gwrth-darawiad i gyfeiliornadau hir-sefydledig, a thraddodiadau canrifoedd, y rhai sydd boblogaidd drwy y byd ; o ganlyniad yr ydym o anghenrhaid yn bobl ymneillduedig, hunan les a chadwraeth penaf pa rai sydd yn ymorphwys ar undeb a hunanymddibyniaeth, ar yr ymarferiad o rinwedd, diwydrwydd, a sobrwydd, ac arddangosiad o'n ffydd drwy ein gweithredoedd mewn mawrygiad o'n Hoffeiriadaeth, ac ar wasanaethu o honom ein Duw drwy gadw ein hunain yn bur a difrycheulyd yn y genedlaeth ddrwg a godinebus hon.

I'r perwyl yma yr ymgasglwn allan o blith y byd, ac o herwydd hyn yr ymddibynwn ar ein cywreinrwydd a'n gallu ein hunain i gynnyrchu o'r elfenau a'n hamgylchynant bob math o ymborth a gwisgoedd sydd yn anghenrheidiol er ein defnydd neu ein cysur.

Frodyr, byddwch ddoethion, ac ystyriwch gynnyrchiadau tramor megys pethau nad ydynt gymhwysiadol nac wedi eu bwriadu i Israel, a thynwch eich diwalliadau o ystôrdy mawr natur—o'r cyflawnder o'r brâs ddefnyddiau a'n hamgylchynant, er eu bod heb eu darganfod, pa rai ydynt yn hollol o fewn ein cyrhaedd.

Fel y parha drygioni, anghydfod, a dyryswch i ffynu a chynnyddu ar y ddaear, cenfydd y Saint nad yw yr amser yn mhell pan, wrth bob tebygolrwydd, y gorfodir hwynt i ddilyn y llwybr yma er eu hiachawdwriaeth eu hunain. Gymmaint hawddach ynte yw iddynt ymbarotoi tra eu hamgylchynir â heddwch a llwyddiant. Gymmaint gwell yw gwneuthur yr hyn sydd yn iawn, ac yn anghenrheidiol ei wneuthur, dan yr amgylchiadau mwyaf ffafriol nac i aros hyd oni fydd anghen

llym yn gorfodi. Dywedwn, ynte, wrth yr holl Frodyr a'r Chwiorydd yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd hyn, dysgwch yn awr i wneuthur eich holl ddilladau eich hunain, ac hefyd cefnogwch y llaw-weithydd a'r cynnyrchydd cartrefol, a deued y cyfryw a fwriadant ymgartrefu yma a phob math o beiriannau a arbedant lafur-waith, a'r cyfryw bethau er ei wneuthur, ar nas gellir eu cael yn rhwydd yma. Dyger hefyd hadau cotwn a *teasel*, a hâd er codi pob math o ddefnydd lliwio llysieuol a phob math o hadau ffrwythau a blodeu, impau hefyd, a phlanigion gwinwydd; caffer a gyrer y mathau goreu o anifeiliaid. A bydded i'r rhai a feddant yn awr y pethau a enwyd eu cadw yn ofalus, fel y cynnyrcher y goreuon o bob math o ffrwythau ac anifeiliaid, ac y gwellhaer ar y rhywiogaethau a'r mathau gwaelaf, fel y ceir yn ein plith ddigonedd o bob peth fydd er ein lleshâd neu ein cysur, neu a fydd hyfryd i'r llygad, neu yn addurn i'r ddaear. Er cefnogaeth i gynnyrchwyr ffrwythau, rhoddwn un enghraifft o'r ffaith, y fod *peaches* yn ystod y pedair blynedd diweddaf wedi addfedu ar goed a dyfasant oddiwrth yr hâd a hauasom, oddiar ein sefydliad yn y dyffrynoedd hyn, ac y mae coed afalau wedi dwyn ffrwyth, er nad yn y fath gyflawnder, er ys dwy flynedd, ac y mae argoelion teg y dygant lawer o ffrwyth y tymmor hwn.

Ar y 27ain o Fehefin dechreuodd y Gymmanfa a benodwyd ar ddiwedd Cymmanfa Ebrill, a chynnaliwyd hi am ddau ddiwrnod, yn mha amser y danfonwyd llawer o genadon i'r Unol Daleithiau, yn mhlith pa rai yr oedd yr Henuriad John Taylor o Gorwm y Deuddeg Apostol, yr hwn oedd i fyned i ddinas Caerefrog Newydd gyda golwg ar gyhoeddi newyddiadur yno. Dewisiwyd John Smith, mab Hyrum Smith, yn Batriarch llywyddol dros yr holl Eglwys, ac ordeiniwyd ef i'r cyfryw swydd, gyda ei holl allweddau a'i hawdurdod, ar y 18fed o Chwefror. Yr oedd hyn er llanw y gwagle a wnaed drwy farwolaeth ein hanwyl Batriarch a alarir ar ei ol, sef y Tad John Smith, yr hwn a fu farw ar yr 22ain o Fai, 1854, yn driugain a thair-ar-ddeg oed.

Yr oedd y Tad John Smith yn frawd i Joseph Smith yr henaf, yr hwn oedd dad y Prophwyd, a'r Patriarch cyntaf yn yr Eglwys. Dilynwyd ef yn y swydd hono gan ei fab Hyrum, i'r hwn y cyflwynodd hi cyn ei farwolaeth, ac wedi ei farw

ef, dewiswyd y tad John Smith, gan nad oedd gan Hyrum fab mewn digon o oedran i lanw y cyfryw swydd ar y pryd hwnw. Aeth y Patriarch parchedig ac anwylaidd i'w orphwysfa yn llawn o ddyddiau ac anrhydedd, wedi rhedeg yr yrfa gydag amynedd, a pharhau hyd y diwedd, a galarwyd ar ei ol gan filoedd, ar ba rai yr oedd wedi gosod ei barchedig ddwylaw i gyflwyno bendith batriarchaidd, drwy rinwedd ei swydd a'i Offeiriadaeth Santaidd. Cofir ef yn hir gan y Saint megys Tad, bendithion yr hwn a gyfrifwyd o fawr werth, ac yn gyfryw a barhant yn gysur ac yn galondid drwy gyfnewidiadau amrywiol bywyd o bererindod yn y cnawd. Wedi dyoddef erlidigaeth gyda ein brodyr a aethant o'r blaen, gwanhaodd mewn corffolaeth; ac er iddo gael ei adael i fyw am ychydig flynyddau byrion mewn llonyddwch a heddwch yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd, etto yr oedd y methiadau arno a achoswyd drwy gymmaint tywydd caled a chynnifer o derfysgoedd, drwy ba rai yr oedd yn dynghed y Saint i ymdeithio; eithr craffder ei feddwl a'i synwyr a arosodd yn ddisigl hyd y diwedd.

Felly y mae un o ddynion mawreddog y ddaear wedi myned i orphwys, yn barotöedig i ddyfod allan gyda gogoniant, anfarwoldeb, a bywyd tragywyddol, pan y rhoddir Allweddau yr adgyfodiad i Offeiriadaeth yr Hollalluog i weinyddu ei gallu etto ar y ddaear.

Yn ystod y flwyddyn fynedol mwynhausom dawelwch gyda'r brodorion, ar ol gwneuthur ammodau o heddwch gyda Walker, y Blaenor Indiaidd, yr hwn a gyfarfuasom i'r perwyl hwnw yn *Chicken Creek*, swydd Juab, ar yr 11eg o Fai diweddaf. Y mae genym achos mawr i gydnabod llaw yr Arglwydd yn attaliad yr anwariaid hyn rhag rhuddo ein sefydliadau â gwaed y Saint, ac yn nghadwraeth ein brodyr rhag dinystr trwyadl, canys nid oes ond ei allu Hollalluog Ef wedi rhwystro y fath alanastra.

Y mae rhai o'r Sefydliadau, pan yn gweled a theimlo drwy brofiad chwerw y perygl ofnadwy yr oeddynt ynddo, wedi cymmeryd at ddiogelu ychydig arnynt eu hunain drwy godi amgaerau, &c.; ond y mae yn flinder arnom i orfod dweyd fod yr amddiffynfeydd hyn gan mwyaf heb eu gorphen, ac nid yw llawer o honynt o nemawr les. Pa hyd y parhâ yr Arglwydd i estyn ei ofal amddiffyniadol, a goddef y fath esgeulusdod anesgusodol, a difaterwch o'i gynghor a'i gerydd ysgafn, sydd etto

i'w weled. Ymddengys mai cyn gynted ag y daeth heddwch i wenu etto arnom, y fod perygl wedi ei anghofio, ac wele ninnau yn ymollwng eilwaith i'r un difaterwch diofal ag sydd bob amser wedi hynodi ein hymddygiadau yn y dyffrynoedd hyn, cyn belled ag y mae yn dal cyssylltiad ag i ni fod yn ddigon parod i gyfarfod a'n gelynion sicr. Dywedwn wrthych, frodyr, nac ymfoddlonwch ychwaneg ar y fath esgeulusdod pechadurus —na ddiystyrwch ychwaneg ar gynghor a thaer ddeisyfiadau eich brodyr, ond mawrygwch yr ennyd bresennol o heddwch a llwyddiant drwy ddiogelu eich hunain, ac ymbarotoi erbyn dydd blinderus.

Tuag at yr Indiaid parhewch i arferyd amynedd, cymmwynasgarwch, a chyd-ddygiad; rhoddwch iddynt eich ffydd dros eu hadferiad o'u sefyllfa wael; gweddiwch drostynt, a dysgwch hwynt, fel y meddianno y fath egwyddor ymddiwygio ac ymoleuo eu meddyliau na ddadwreiddir byth mwy, fel y dysgont ffyrdd yr Arglwydd, ac yr ymlawenhaont mewn gwir wybodaeth o Dduw eu tadau.

Yr ydym yn profi fod yr Arglwydd wedi bod yn raslawn, a'i fod yn ateb gweddiau ac ymbiliau y Saint drostynt. Gwyddom fod ei Ysbryd Ef yn cael ei dywallt arnynt, ac i'r achos yma y priodolwn y gallu sydd wedi eu hattal rhag amlach a chryfach ymrafaelion Annogwn chwi i'w porthi a'u dilladu fel o'r blaen, eithr na chollwch un cyfleusdra i'w dysgu i weithio, fel y dysgir hwynt yn raddol y ffordd i ddiwallu eu hanghenion eu hunain, drwy eu diwydrwydd, yr hon sydd lawer rhagorach ffordd na'u cynnal mewn segurdod. Yn rhagluniaethol yn wir ein danfonwyd i'w plith, gan ddwyn gyda ni ein crefydd santaidd a'n gwareidd-dra. Gan ein bod wedi ein bendithio mewn cyflawnder â phethau da y ddaear er pan ddaethom, cyfranwn yn hael ionus i'r meibion syrthiedig hyn o eiddo Israel, o'r hyn a dderbyniasom, ac nid fel y mae y rhan amlaf o ymddygiad y bobl wynion tuag atynt, sef ymddarostwng yn gyfartal â hwynt, a thrwy hyny iselhau eu hunain, a bradychu eu hymddiried hwythau, eithr ceisio eu cyfodi a'u dyrchafu hwynt atom ni, fel y delont yn wir yn "bobl wynion a hardd" yn mha rai yr ymhyfrydai yr Arglwydd, megys ag yn y dyddiau gynt.

Bu farw y Blaenor Indiaidd, Walker, wedi ychydig ddyddiau o glefyd, yn agos i Ddinas Fillmore, ar y 29ain o Ionawr, ac y

mae yr Utiaid wedi dewis ei frawd Sen-a-rock, yr hwn a adna-byddir yn gyffredin gan y bobl wŷnion wrth yr enw Arrow-peen, i fod yn Brif arnynt

O herwydd anwybodaeth yr Indiaid, ac am eu bod yn deall cyn lleied am natur a chyfrifoldeb gwareidd-dra, nid yw y cyfreithiau ond yn anfynych wedi eu gweinyddu arnynt. Beth bynag, yn yr achos o lofruddiad dau fab yr esgob Weeks o ddyffryn Cedrwydd, heb cyffröad i hyny, tra yn cludo coed a pholion o'r kanyon, y mae dau o'r Indiaid, sef y prif weithredwyr yn y cyfryw beth, wedi cael eu dienhyddio ar y 15fed o fis Medi diweddaf, ar ol cael eu barnu o flaen Lys Dosparthiadol yr U. D., yr Anrhyd. Farnwr Shaver yn llywyddu. Etto yn achos cyflafan Cadben Gunnison a'i gwmni gan yr Indiaid Pah-van-te, yn hydref 1853, barnwyd amryw o honynt yn Nephi o flaen yr Anrhyd. Farnwr Kinney o Lys Dosparthiadol yr U. D. o'r dosparth hwnw, yr hyn a derfynodd mewn euog-farniad tri o lofruddiaeth yn yr ail radd, a dedfrydwyd hwy yn ol eithafion cyfraith yr Unol Daleithiau yn y fath achosion. Yn yr achos yma deallwn fod llawer o amgylchiadau esgusodol a leihant drosedd yr Indiaid yn y gyflafan erchyll hono. Yr oedd yn amser rhyfel rhwng y bobl wynion â'r Indiaid, ac yr oedd y fintai nodedig yma wedi dyoddef y golled o un o'u prif wŷr gan gwmni o ymfudwyr gwŷnion, y rhai a'i lladdodd tra yn myned drwy eu gwlad heb hyd y nod achos o gynhyrfiad. Cynddeiriogodd hyn gymmaint ar yr Indiaid hyd oni ddechreuasant yn union a chrynhoi eu galluoedd, ac er na chyfranogasant o'r blaen yn y rhyfel, penderfynasant ddyfod yn erbyn y sefydliadau, ac ymuno â'r Indiaid ereill ag oeddynt yn rhyfela eisoes. Yn y cyfamser y cyrhaeddodd Cadben Gunnison a'i gwmni i'w gwlad, tra yn dilyn ei alwad mewn yspïo ffordd i reilffordd fyned yn groes i'r cyfandir, ac felly yn rhoddi y cyfryw gyfleusderau iddynt i ymddïal, yr hyn a geisiant mor daer, ac â'r hyn yr ymwelwyd mor ddychrynllyd â'r diniwed. Dylai hyn fod yn wers i bob ymdeithwyr a saethant yr Indiaid heb achos; canys er y dichon iddynt hwy ddianc, ysgatfydd y geill y cyntaf a'u dilynant fyned yn ysglyfaeth, o achos eu barbareidd-dra anystyriol yr hwn sydd tu hwnt i wylltineb. Dylai pawb a wyddant am gyfraith, ac a drafodant yr Indiaid mor anynol ar yr un pryd, gael eu dal yn gyfrifol am ganlyniadau eu gweith-

redoedd; pa rai, megys yn achos y galarus Gunnison, ydynt braidd yn sicr o gael eu hymweled ar y cyfleusdra cyntaf, ar rywrai ag oeddynt heb un cyssylltiad â'r gynnen.

Nis gellir dysgwyl i'r Indiaid yn eu sefyllfa isel ac anwybodus bresennol, a'u holl draddodiadau a'u nhatur wyllt ganddynt, i ddeall a gweithredu yn ol manylion y gyfraith, o'r hon y maent yn hollol anwybodus, ac heb erioed gael un cyfleusdra i'w dysgu. Am hyny y mae yn gweddu i'r rhai hyny a broffesant wareidd-dra i osod esiampl o'u blaen, ac nid, tra yn esgus gweinyddu cyfraith arnynt, i fod yn greulonach a mwy llofruddgar nag ydynt hwy y naill ar y llall. Ystyried pob personau o'r fath y ffeithiau hyn, a gweithreder yn ddoeth, rhag y bydd gwaed eu lladdedigion i gael ar eu gwirau hwy eu hunain; ac frodyr, byddwch ofalus rhag i chwithau hefyd sengu ar yr "olew a'r gwin," gwneuthur llong-ddrylliad o'ch ffydd, a cholli eich hiachawdwriaeth yn nheyrnas ein Duw ni.

Yn Nghymmanfa mis Hydref, yr oedd amryw o'r brodyr a fuont absennol ar genadiaethau tramor yn bresennol, wedi dychwelyd â llawer o Saint; ac er na chyrhaeddodd y cwmpeini diweddaf cyn yr 28ain o Hydref, yr oedd yn amser i ymlawenhau genym oll, ond yn neillduol y rhai hyny ag oeddynt wedi dyfod yn ddiangol heibio i farwolaeth a dyoddefaint, a chael caniatâd i ymgyfeillachu mewn heddwch â'r rhai a feddent yr un ffydd â'u hunain, ac i wrandaw ar ddysgedigaethau gweision Duw yn Seion. Llewyrchodd pob gwynebpryd gan lawenydd, ac ni ddygwyddodd dim, yn ystod y tri diwrnod am ba rai y parhauodd y Gymmanfa, i aflonyddu yr heddwch a'r undeb a ffynodd yn gyffredinol. Dewiswyd yr Henuriad Horace S. Eldredge i gymmeryd lle Jedediah M. Grant, fel un o saith Llywydd y Degau a Thrugain.

Oddiar Cymmanfa mis Hydref, nid oes ond ychydig wedi dygwydd yn wahanol i bethau cyffredin ein busnes.

Bu y gauaf yn dyner anarferol, ac y mae gwaith wedi gwella mewn llawer modd, cystal braidd ag yn yr hâf.

Cynnaliodd y Senedd Diriogaethol ei sessiwn arferol o ddeugain diwrnod, ac ymadawasant i gyfarfod ar yr ail ddydd Llun yn Rhagfyr nesaf, yn y Senedd-dŷ newydd yn ninas Fillmore.

Y mae amrywiol gymdeithasau i ddybenion crefyddol, llenyddol, a chelfyddydol wedi cael eu ffurfio, ac y mae llawer o

ddysgeidiaeth ddefnyddiol wedi cael ei rhoddi, fel y mae wedi gwneuthur hefyd mewn llawer o ysgolion hwyrol a dyddiol, y rhai a gadwyd yn fwyaf cyffredinol yn ystod y gauaf yn y gwahanol ddosparthiadau. Y mae difyrwch hefyd wedi cael ei iawn amser a'i le, a chydag eithriad o ychyd'g aflonyddwch a achoswyd gan ychydig o wyr afreolus o fyddin yr U. D., y mae amser cyffredinol o lonyddwch, iawn drefn, a heddwch wedi ffynu yn yr holl sefydliadau.

Mewn cydsyniad â'u gwahanol apwyntiadau, aeth yr Henuriad J. Taylor i Gaerefrog Newydd, Franklin D. Richards i Lynlleifiad, Erastus Snow i St. Louis, Orson Spencer i Cincinnatti, a P. P. Pratt i California.

O herwydd anghyssondeb y llythyr-gerbyd Dwyreiniol, ni chawsom ond ychydig hysbysrwydd o'u llwyddiant; ond deallasom y fod estynfa wedi ei sefydlu yn St. Louis, a bod yno newyddiadur a elwir y "*Luminary*" yn cael ei gyhoeddi yn wythnosol. Ni ddeallasom etto pa un a oes estynfeydd ereill wedi eu sefydlu, neu a oes newyddiaduron ereill wedi cael eu cyhoeddi a'i peidio; er y fod gwasg wedi ei chael yn Nghalifornia, yr hon a osodir ar waith yr hâf dyfodol, dan ofal yr Henuriad George Q. Cannon.

Y mae yr Henuriad Amasa Lyman yn llafurio o hyd yn San Bernardino, California, ac y mae y gweddill o'r Apostolion gyda ni yn bresennol, yn llafurio fel y dygwydda cyfleusdra yn amrywiol sefydliadau Utah. Y mae yr Henuriad G. A. Smith yn ymwneyd o hyd â hanes Joseph Smith, ac efe a'i mŷn mewn ychydig fisoedd mae yn debyg, wedi ei gwblhau a'i barotoi i'r wasg.

Yn y Gymmanfa Ebrill hon sydd newydd fyned heibio, rhoddwyd cyfrif eglur o drafodaeth arianol Cwmpeini y Drysorfa Ym Barhaus, ynghyd ag eiddo yr Eglwys, yr hyn a ddengys fod eiddo cyfangwbl Cwmpeini y D. Y. Barhaus yn cyrhaedd 71,005,143 o ddoleri, er nad oes braidd ddoler o honynt yn bresennol yn ddigon cyrhaeddadwy fel y gellid eu defnyddio er ymfudo y Saint tlodion. Cyfyd hyn oddiar ddyledion y cyfryw a esgeulusant dalu eu dyled i'r Drysorfa am eu hymfudo. Y mae yn ddyledus i'r Drysorfa yn bresennol, o'r man yna yn unig tua 57 mil o ddoleri, yr hyn pe y gellid ei droi yn foddion defnyddiol, a hwylusai lawer ar weithrediadau

y Cwmpeini, a chynnorthwai filoedd i ddyfod, y rhai ydynt yn dysgwyl ac yn gweddio am waredigaeth trwy y ffordd yna. Yn mhob dull ag yr ystyrir ef, dylai y brodyr a gynnorthwywyd, er eu mwyn eu hunain, eu brodyr a'r deyrnas, gyflawni eu rhwymau iddi. Mae y pwnc o ymfudo y Saint, eu dwyn o ddosparthiadau rhy boblogaidd gwledydd henach, lle nis gallant drwy eu diwydrwydd mwyaf braidd gael bywioliaeth, a lle y mae diffyg gwaith yn aml yn peryglu bywyd, a'u dwyn i wlad lle y galiant drwy ddiwydrwydd gyrhaedd digonedd cyn hir, a chyfod yn nghyrhaeddiadau gwybodaeth pa fodd i fyw, yn hunan ganmoladwy i'r Saint, ac yn deilwng o'u ffydd a'u haelioni parotaf.

Dengys mynegiadau cyfrifiadol o dderbyniadau a thaliadau yr Eglwys, fod y derbyniadau yn gyffredin wedi eu defnyddio at adeiladau, a gwneuthur gwelliadau cyhoeddus megys y Cynghor-dŷ a'r Cynnysgaeth-dŷ, y Tabernacl, y mur oddiamgylch Rhan-dir y Deml, ystôr-dai, y Deml, &c. Er cario ein busnes yn mlaen yn iawn, gwelwn y fod eisieu swm wrth law er ein galluogi i gael defnyddiau, a diwallu dillad a phethau anghenrheidiol i'r rhai sydd yn ngwasanaeth y cyhoedd yn barhaus.

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, AWST 18, 1855.

EPISTOL Y BRIF LYWYDDIAETH.—Ir hwn y rhoddwn le helaeth yn y rhifyn hwn ar gost amryw ohebiaethau cartrefol a thramor, sydd gyflawn o enghreifftiau eglurhâol o ddoethineb ddwyfol. Mae cyfiawnder y Llywydd Young yn ei ymddygiad at y brodorion, nid yn unig drwy eu barnu yn ol eu dealltwriaeth o'r gyfraith a droseddant, yn lle eu dyfetha yn ddiwahan fel y gwna llywodraethwyr ereill, ond hefyd ei oresgyniad o honynt drwy garedigrwydd, rhoddion, ac anfon amaethwyr

i'w plith i'w gwareiddio a'u dysgu i gynnyrchu eu hymborth eu hunain yn dysgu i holl Lywodraethwyr byd wers a deilynga efelychiad mewn gwledydd gwareiddiol, ac yn arddangos ynddo gyfaddasrwydd barnol tymmorol ac ysbrydol goruwch-ddynol.

Mae ymadawiad y milwyr o'u plith yn waredïad amserol i'r Saint; eithr llawer gwell fuasai i'w mhoesau hwy ac i iechyd a diweirdeb merched y goedwig, pe nad anfonasai y Taleithiau enghreifftiau o'u swyddogion gwladwriaethol a milwrol yno i'w "gwareiddio" mewn gwers na pherthyna ond i'w eu gwyr eu hunain ddysgu iddynt. Canmoliaeth i foesau Utah amlwreigyddol yw fod y fath buteinwyr yn methu cael ysglyfaethau o'u plith amgen nâ'r anwariaid diddeddf, ac i'w clod y dywedir hefyd, serch byw er's blynyddau yn eu plith, na chlywsom fod un o'r "Mormoniaid" yn euog o ddysgu iddynt brif-wers Cristionogaeth gau y byd, a chydsynia y darllenydd mai mwy clodfawr fuasai i'r Taleithiau ddysgu diweirdeb i'w swyddogion cyn eu gollwng i blith anwariaid, ac fod ganddynt reidiach gorchwyl i lanhau eu holl brif fagwrfeydd Cristionogaeth unwreigyddol oddiwrth y fath anghenfilod cyn yngann gair yn erbyn moesau amlwreigwyr Utah. Yn mha wlad "Gristionogol" y gorfodasai diweirdeb benywaidd ei thrigolion y fath ddynion i borthi eu nhwydau â'r fath wrthodedig bethau ag y gorfododd Saint Utah y milwyr Americanaidd i wneyd? Pa le ceir y ddinas neu y dref lle na fuasai miloedd o'i mherched yn rhedeg ar eu hol am gael mwynhau yr ysgelerdra a leinw benywod Utah ag arswyd? Ffeithiau fel hyn a dystiant o blaid diweirdeb y Saint yn uwch nag y gwna holl ysgrechteydd gau-athrawon a cham-gyhuddiadau Golygyddion byd i'r gwrthwyneb.

Pwnc arall y sylwir arno gyda dyddordeb mawr yn yr Epistol yw gweithrediadau y D. Y. Barhaus, a llawenhâ y Saint yn fawr drwy y byd fod Llywyddion yr Eglwys yn Seion yn gofalu mor ddyfal am eu casgliad adref i fwynhau heddwch, esiamplau a dysgeidiaeth a'u dysga yn ffordd y bywyd tragywyddol. Pa le, na chan bwy ereill eu ceir? Hyderwn y bydd i'w hesiamplau hwy yn hyn deilyngu efelychiad yr holl Saint hyny a geisiant hwy lesoli yn yr ymdrech clodadwy a wnant yn y mater pwysig o ymfudo y Saint. Credwn mai gwir a

ddywedant y fod digon o foddion yn mhlith y Saint Prydeinig yn awr, pe yr iawn ddefnyddid, i gludo yr oll tua thref. Felly y gallai y Saint Cymreig wneyd hefyd pe y cydymdrechent; eithr yn lle hyny, gofynir, pa faint a farnant hwy yn Seion yw awydd y Cymry i ymgasglu, pan ddeallant nad yw cyfraniadau yr oll at y Drysorfa ddaionus hon, mewn chwarter blwyddyn, ddim yn ddigon i fudo dau berson! Etto, meddwn, efelycher eu haelioni hwy yn hytrach.

Mae y darganfyddiadau a wnaed yn ddiweddar yn Utah o fŵn haiarn, glo, &c., o fawr werth, a'r llwyddiant a gafwyd yn ddiweddar i'w gweithio a'u dwyn yn wasanaethyddol i'r trigolion, yn cynnyddu eu breintiau a'u galluoedd i adeiladu Seion. Bwriedir cludo y glo i Ddinas y Llyn Halen Mawr yn rhatach nag yw y coed yn awr, ac nid yn hir etto eu gorfodir i gludo eu llestri a'u peiriannau haiarn dros fil o filltiroedd ar hyd gwlad anghyfanedd. Dyma yr eglura y "mynyddau tragywyddol" gynnwysiad cyfoethog eu crombilau er lles y Saint mor fuan ag y gallant eu hiawn ddefnyddio.

Mae mynediad y swyddwyr gwladol a'r milwyr i Utah wedi cynnyrchu un daioni er o'u hanfodd, ar yr hyn ni ddichon y byd golli eu golwg, sef anfon eu tystiolaethau ffafriol i fedrusrwydd, doethineb, a daioni y Llywydd Young, a moesoldeb, diwydrwydd a rhagoroldeb y trigolion. Er fod Golygyddion a pholiticwyr y byd yn bygwth goresgyniad Utah, diwedd Amlwreigiaeth, a thranc Mormoniaeth dan sodlau y fyddin gyfeiriedig, wele hwynt wedi myned ymaith o Utah heb wneyd y naill nâ'r llall, heb gael teyrn-fradwriaeth, anniweirdeb, nac hyd y nod achlysur i ymyraeth â'r Saint, a da a fuasai pe'd aethent â'r aflendid gyda hwynt a ddygasant yno. Beth a wnaiff y bleiddiaid Golygyddol am destunau wbanu weithian wyddis, canys rhaid wbanu ac ysgrechian at ryw beth bid siwr, pe bae raid gwneyd bwgan neu gymmeryd eu cysgod eu hunain yn esgus? Etto nid yw creaduriaid y gwill yn hir heb ddychymmyg a'u boddiant ac nid hir y mae gwirionedd fel gwawl y boreu yn profi nad cyrn, carnau, dannedd a chynffonau bwystfilod, namyn twmpathau o ddrain y cyfarthent ato!

O flaen pob peth, craffed, dealled, a chofied y Saint eirwiredd y gyfran o'r Epistol a ddywed mai hunan-lesiant yn enwedicaf yw yr oll a wnant i adeiladu Seion, ac mai felly y derbyniant iddynt

ei hunain y wobr ar ddiwedd yr yrfa, ac mai drwy gyssegru eu hunain a'u heiddo i adeiladu teyrnas Dduw y mwynhant olud a gogoniant y deyrnas hono pan y del yn ei nherth cyssefin. Esiampl deilwng o efelychiad yw offrymiad y Llywydd Young o'r oll a fedd, yr hyn a fernir yn werth tua dau can mil o ddoleri at wasanaeth yr eglwys, ac fel mae y goreu, ennilla efelychiad yr holl ffyddloniaid yn Seion.

Mewn gair, mawr lawenhawn yn y newyddion a gynnwysa yr Epistol hwn am hynt Seion, ac yn yr egwyddorion a gynnygia i'n hystyriaeth, a'n hawydd sydd am fwynhau mwy-fwy o'r Ysbryd a'i gwnaeth i gyflawni yr oll a geisia genym, a digon da o nefoedd fydd hyny i ni yn awr.

---

## DEUDDEGFED EPISTOL CYFFREDINOL, &c.

[Parhad o dud. 265]

Diwellir ni â'r holl ddefnyddiau at wellia'au cyhoeddus trwy y degwm yr hwn a delir fynychaf mewn ŷd, llysieu, anifeiliaid, wageni, gwaith, a meddiannau ereill, ond ychydig iawn mewn arian, a chydag eithriad o'r hyn sydd eisieu er defnydd y dynion a gyflogir, gorfodir ei droi yn arian er cael y cyfryw bethau ereill ag sydd yn anghenrheidiol er iawn gyflawni y fusnes. Y mae treuliadau cysson trysorfeydd yr Eglwys mewn gwelliadau parhaus, y drafferth o newid, a'r oediad wrth gyfnewid nwyddau am arian, yn ein taflu weithiau i ddyled; eithr os bydd y brodyr yn ffyddlon a chysson yn eu taliadau o'r degwm o bob peth a gynnyrchant, ysgafnhâ hyny ni o bob cyfyngderau, a diwaliant ddigonedd i'r holl ddybenion anghenrheidiol i ba rai ei ddefnyddir.

Frodyr, gan y dymunwch hwyluso adeiladiad Teml, a gwaith Brenin Seion, rhoddwch eich hysgwyddau wrth yr olwyn, estynwch gynnorthwy effeithiol i'w hachos, a chyfrifwch ei lleshâd hi yn eiddoch chwithau. Cofiwch nad yw yr oll a wneloch i ffafrio Seion ond yn ffafriol idd eich hunan-les, ac mai i chwi eich hunain yr ydych yn llafurio ac yn trafferthu yn nheyrnas Dduw; llawenhewch gan hyny yn eich llafur, ac ystyriwch y wobr sydd yn eich aros ar derfyn yr yrfa Dylid ei ystyried yn fendith yn gystal ag yn ddyledswydd i

gael y cyfryw fraint. Ni allesid cyflwyno mwy braint i'r bobl hyn nag a fwynhânt mewn cael rhan a chyfran yn y mater hwn, mewn bod yn offerynau gwael yn nwylaw y Jehofah mawr, ei dyfod i ben a'i fwriadau Ef ar y ddaear yn y dyddiau diweddaf hyn, ac mewn cael bod yn dderbynwyr o'r gwirionedd tragywyddol, y goleuni a'r wybodaeth sydd yn dylifo oddiwrth Frenin y Nefoedd, yn yr Hwn y mae pob rhagoroldeb, gallu a gogoniant.

Hyfrydwch a dedwyddwch anghydmarol sydd yn llenwi enaid y ffyddlon Sant, a fedd dystiolaeth yr Iesu ac Ysbryd y Duw byw i oleuo ei ddealltwriaeth. Dedwyddwch anghydmarol a chariad duwiol sydd yn llenwi ei fynwes tra y ceisia gyfranu o'r wybodaeth hyfrydlawn i'w gyd-rywiogaeth, fel y byddont hwythau hefyd yn gyd-gyfranogion ag ef yn yr achos gogoneddus a'i fendithion. Felly mae ein Crefydd Santaidd yn llyngcu pob rhyw deimlad, dymuniad, ymgais, dyben a gweithrediad o eiddo ein nhatur, ac yn gosod pob cyfeillach mewn bywyd yn ddarostyngedig iddi,—ffurfia fywyd ein bodoldeb: y mae yn ymyraeth nid yn unig a'n trefniadau ysbrydol, ond â'r tymmorol hefyd, a llywydda ni yn ein holl weithrediadau. Gwir yw hyn am bob person sydd wedi profi gair da y bywyd, derbyn yr Ysbryd Glân, a pharhau i rodio yn y goleuni, ac i gymmeryd ei arwain gan ei ddylanwad hynaws. Dyma ydyw iachawdwriaeth yn nheyrnas Dduw, y mae yn ogoniant nefol a dyrchafiad. Dyma y gwaith sydd yn ffromi y gwrthwynebwr, yr hwn sydd yn ofni rhag syrthiad ei deyrnas a'i allu ar y ddaear, sydd yn achos i Satan i ymgynddeiriogi a cheisio dinystrio Saint y Goruchaf, fel y gwnaeth yn nyddiau yr Iesu, ei apostolion, a'i ganlynwyr.

Hyn yma yw yr achos o'r erlidiau a'r merthyrdod a ddifäodd y ffyddlon oddiar y ddaear, ac a achosodd ddirywiad yr eglwys gyntefig. Gorchfygodd a dinystriodd y byd hwynt, a cheisia ein gorchfygu a'n dinystrio ninnau, canys tueddir hwynt gan elyn pob cyfiawnder, yr arch-dwyllwr, yr hwn sydd yn ceisio dadymchwelyd gwaith Duw. Am hyny, frodyr, byddwch ar eich gwyliadwriaeth; byddwch ffyddlon mewn gweddio a gwylied, mewn ffydd a gweithredoedd da, rhag i chwi syrthio i brofedigaeth, ac i dywyllwch ymledaenu drosoch; rhag i chwi gael eich dyrysu a'ch arwain ar gyfeiliorn, ac i lyngcu, yn

ddiarwybod, ysbryd rhagrithiwr, yr hwn a'ch harweinia i wadu y ffydd.

Oedwyd cyssegriad y Saint am ychydig amser, er mwyn cael ffurf o ymrwymiad a fydd gyfreithlon, ac yn gyd-fynedol â chyfreithiau y Diriogaeth. Y mae hyny wedi ei wneuthur yn awr, ac y mae llawer yn cyflwyno eu mheddiannau i'r Eglwys. Dealler hyn yn benodol, sef, na chyssegred unrhyw berson ei feddiannau heb ei fod yn ei deimlo yn fraint, ac yn well ganddo wneuthur hyny o'i rydd-ewyllys a'i ddewisiad ei hun. Nid ydym yn dymuno ychwaith i unrhyw berson gyssegru unrhyw feddiannau sydd yn ngafaelion dyled neu ymrwymiadau ereill. Talwch yr hyn sydd arnoch, ac wed'yn, os byddwch anymddibynol, cadwch allan o ddyled, gwellhewch ar eich hetifeddiaethau, a'r oruchwyliaeth a ymddiriedwyd i'ch gofal, fel, drwy eich cael yn ffyddlon ar ychydig, eich gosodir yn lywodraethwyr ar lawer o bethau.

Bydded i'r Saint tramor i gyssegru yr oll a feddant er lledaeniad yr efengyl, casgliad Israel, ac er cynnorthwyo y tlodion, sydd yn ffyddlon a diysgog, i ddyfod tua Seion; a chredir y fod digon o foddion yn mhlith y Saint yn Lloegr, a lleoedd ereill, os iawn ddefnyddir hwy, i ymfudo yr holl ffyddloniaid. Pe byddai y rhai hyny sydd a meddiannau ganddynt yn ddigon haelionus i gyfranu yn rhwydd i'r anghenog, heb gadw mwy na modd i ymfudo eu hunain, ac ymddiried yn yr Arglwydd am y modd i fyw yn y dyfodol, bendithid hwy gan yr Arglwydd, a chan eu brodyr, a llawenhaent mewn bod wedi gweithio iachawdwriaeth a gwaredigaeth i lawer o'r addfwyn a etifeddant y ddaear.

Bydded i'r brodyr hyny ag ydynt foddlon i gymhwyso eu mheddiannau yn y dull yma, wneuthur felly mewn doethineb, drwy eu cyflwyno i ddwylaw ein goruchwylwyr awdurdodedig, y rhai ydym wedi benodi i'r cyfryw orchwyl, ac nid eu talu, fel y dygwydda yn rhy aml, i bersonau anwadal, y rhai a'u gwasgarant i'r pedwar gwynt heb wneuthur un daioni. Gwneler pob peth yn drefnus a thrwy y rheol iawn.

Dygwyddiad cyffredin iawn yw, i'r rhai sydd ganddynt fodd pan yn dyfod i'r Eglwys, i golli pob doler, drwy eu masnachaeth â'r byd, cyn y casglant gyda'r Saint, neu gyfranu nemawr at gynnorthwyo achos y Gwirionedd. Pan wedi eu hamddi-

fadu o'r cwbl, y maent yn barod i ddyfod, gan hiraethu na fuasent wedi cyfranu eu mheddiannau at adeiladu Teyrnas Dduw yn lle eiddo y diafol.

Y ffordd oreu i'r Saint pan y delont gyntaf i'r Eglwys, yw darfod eu busnes cyn gynted ag y gallant yn rhwydd heb ormod o aberth, ac yna "casglu i fyny tua Seion," heb oedi yn ddianghenrhaid; canys mae y dinystrydd a'r temtiwr ar led y ddaear, ac y mae yr Arglwydd wedi dechreu ymddadleu â'r bobl drwy dân a thrwy gleddyf, drwy haint, newyn, ac ystorom; diangwch gan hyny tra mae y ffordd yn agored o'ch blaen.

Wrth yr holl onestion eu calonau drwy y byd, o raddau uchel ac isel, dywedwn, "Edifarhewch, a bedyddier chwi er maddeuant o'ch pechodau," ufyddhewch i ordinhadau yr efengyl drwy weinyddiadau gweision y Duw byw, canys y mae barnedigaethau yr Hollalluog Dduw arnoch, ciliwch gan hyny rhag carthfeydd drygioni a llygredigaeth, rhag i ddigofaint tanllyd yr Arglwydd hefyd eich hysu gyda'r drygionus, o barai y mae Efe wedi cyhoeddi y gwaghâ y ddaear.

Saint, yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd, wrthych chwi y dywedwn, Codwch ŷd, hauwch, planwch, dyfrhewch, a medwch yn nhymmorau amserol hyny; na lafuriwch fwy o dir nag a allwch lafurio yn dda, cynnilwch a chadwch eich ŷd, fel na choller dim; gwyliwch dros eich anifeiliaid na ladratäer hwy gan yr Indiaid, ac fel na yrir hwy i ffwrdd gan y lladron gwynion sydd yn gwneuthur ymgyrchiadau ysglyfaethus drwy ein sefydliadau yn fynyddol; cauwch diroedd pori i'ch anifeiliaid, fel y diogeloch y borfa sydd yn agos atoch er eu defnydd, a gadewch i'r anifeiliaid crwydredig fyned heibio y sefydliadau i'r fan y mae lle pori yn ddigon eang ac heb ei berchenogi, a bydd llai o berygl iddynt ymgymmysgu â'r rhai a berthynant i'r Diriogaeth.

Parotowch ysguboriau digonol i'ch ŷd, lle y gellir ei gadw yn ddiogel, ac yn rhydd rhag llwch, ac ystoriwch yr hyn a feddwch dros ben erbyn amseroedd anghenus.

I ddiweddu, frodyr, byddwch un mewn ffydd ac ymdrech, a rhodiwch yn ostyngedig gerbron yr Arglwydd. Cadwch yn gyssegredig ei orchymynion Ef, a'ch cyfammodau chwithau. Dysgwyliwch yn barhaus wrtho am ddoethineb a gwybodaeth,

fel y mwynhäoch oleuni ei Ysbryd, a bod yn ddigon addas i gyflawni pob dyledswydd rwymedig arnoch, drwy rinwedd Offeiriadaeth Santaidd a Thragywyddol yr Hollalluog Dduw, â'r hon eich gwisgwyd, yn y fath fodd ag a fydd fwyaf gwasanaethyddol er hwyluso lledaeniad ei Deyrnas Ef ar y ddaear.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
JEDEDIAH M. GRANT.

## TALIADAU AT DDYLED CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG, O AWST 1AF HYD YR 11EG.

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| 1. David Davies Newton, Bro Morganwg . | 0 | 2 | 6 |
| 2. Mary Davies, ei wraig . . . | 0 | 2 | 6 |
| 3. William Thomas, Newton . . | 0 | 5 | 0 |
| 4. William Owens, Abertawy . . | 1 | 0 | 0 |
| 5. Enoch Lewis, Treboeth . . . . | 0 | 10 | 0 |
| 6. John Thomas, Wig . . . . | 0 | 5 | 0 |
| 7. Margaret Thomas, ei wraig . . | 0 | 2 | 6 |
| 8. Thomas Perkins, Treforris . . | 1 | 0 | 0 |
| 9. Mary Anne Wood, Cang. Seis. Abertawy | 0 | 5 | 0 |
| | £3 | 12 | 6 |

D.S. Mae rhai ereill wedi talu cyfran, eithr ni chydnabyddir hwynt drwy yr UDGORN, hyd oni chyflawnant eu haddewidion.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O AWST 1 HYD 11.—George W. Davies, £4: John Davies, 3s; B. Jones, 16s; Thomas Morgan, £1; Wm. Lewis, Gorll. Morganwg, 7s.

AMSERYDDIAD CYMMANFAOEDD Y GOGLEDD.—Cymmanfa Sir Fflint ar y 26ain o Awst, Sir Ddinbych ar yr 2il o Fedi, Môn a Dyffryn Conwy ar y 9fed, a Sir Feirionydd ar yr 16eg.

CYFARWYDDIADAU.—Mr. Thos. D. Giles, 4 East Lane, Tredegar.—Mr. Edward Middleton, 4 East Lane, Tredegar.

CYNNWYSIAD.



ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 18.] MEDI 1, 1855. [CYF. VIII.

## COFNODAU CYMMANFA GYFFREDINOL

*Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, yn ymgynnulledig yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Mawr, yn dechreu dydd Gwener, Ebrill 6, 1855, am ddeg yn y boreu.—Y Llywydd B. Young yn llywyddu.*

YR oedd y Brif Lywyddiaeth a saith o'r Deuddeg Apostol yn bresennol, ynghyd â'r Degau a Thrugainiau, Archoffeiriaid, Esgobion, &c., ac yr oedd y Tabernacl wedi ei orlenwi.

Y Llywydd B. Young a ddywedodd mai pum mlynedd ar hugain yn ol i heddyw y corffolodd y Prophwyd Joseph Smith yr Eglwys hon â chwech o aelodau; sylwodd ar ddechreuad. codiad, a chynnydd rhyfeddol yr Eglwys. a rhoddodd lawer o addysgiadau buddiol, manylrwydd o ba rai a geir yn y cyhoeddiad cyflawn.

Am ddau yn y prydnawn, canwyd; gweddiodd C. C. Rich, a chanwyd drachefn.

Cymmeradwywyd Awdurdodau yr Eglwys yn unfrydol.—y Brif Lywyddiaeth, sef y Llywydd Brigham Young, ac Heber C. Kimball a Jedediah M. Grant ei Gynghorwyr, Llywydd ac aelodau Corwm y Deuddeg Apostol. John Smith y Patriarch Llywyddol, Llywyddion a Chynghorwyr y gwahanol gorymau ereill, Edward Hunter Esgob Llywyddol yr Eglwys, yr Uchel Gynghor, ynghyd â'r holl awdurdodau, a George A. Smith yn Hanesydd a Chofnodydd cyffredinol yr Eglwys.

Ni roddwyd gymmaint ag un llais nacäol, yr hyn a arddangosai undeb nas gall y byd ei feddu.

Rhyddhäwyd amryw esgobion o'u swyddi, a gosodwyd ereill yn eu llefydd.

Penodwyd tri ar ddeg a deugain o bersonau i fyned ar genadiaethau.

Y Llywydd Grant a ddywedodd mai dynion bywiog ac ymdrechgar, o'r cyfryw a wnant eu dyledswyddau ac a fawrygant eu Hoffeiriadaeth yw y dynion y gelwir am danynt, i lanw swyddi, myned ar genadiaethau, &c.

Yr Henuriad Hyde a adroddodd ychydig o hanes ei brofiad pan yn myned i waered yr afon Danube, ar ei ffordd yn genadydd i Jerusalem.

Penodwyd pymtheg ereill o wyr ieuainc i fyned ar genadiaethau.

Terfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan yr Henuriad Hyde.

*Ebrill 7, 10 o'r gloch y boreu.*—Gan nad oedd y Tabernacl yn ddigon ëang i gynnwys y miloedd o Saint ag oeddynt yn bresennol, ymgynnullodd y Gymmanfa yn y *Bowery* newydd, ag oedd yn cael ei wneuthur ar ochr ogleddol y Tabernacl, lle a gynnwysa tua 12 mil o bobl.

Canwyd a gweddiwyd.

Wedi rhyddhau esgob o'i swydd a gosod arall yn ei le, llefarodd y Llywydd Young ynghylch y Mynegiad o'r Degwm, gweithredoedd a dyledswyddau esgobion, adeiladiad y Deml, ac ar yr ymgyssegriad; a dywedodd os na wnelai yr Esgobion eu dyledswydd, y rhyddheid pob un o honynt, ac y gosodid ereill yn eu llefydd.

Darllenwyd a chymmeradwywyd cyfrif Trysorydd y Drys.

Y. Barhaus. . . . .

Yr Henuriad P. H. Young a annogodd y Saint i weddio ac i fod yn ddiwyd yn barhaus, a gofynodd fendith ar y bara.

Yr Henuriad Lorenzo Snow a gymharodd y dydd presennol â 25 mlynedd yn ol, a chyfeiriodd at yr amser pan yr oedd yr Henuriaid yn teithio heb fwyd na chymhorth i gyhoeddi yr efengyl i genedloedd pellenig, a gofynodd fendith ar y dwfr.

Yr Henuriad Woodruff a ddywedodd mai po amlaf ein Cymmanfaoedd, goreu oll ydynt; perorawl i'w glustiau oedd clywed tystiolaeth o'r gwirionedd; cyfeiriodd at gyssegriad y Deml

yn Nauvoo, ac at y rhyfeloedd a'r gofidiau yn mhlith y cenedloedd.

Yr Henuriad C. C. Rich a ddywedodd,—Am y 23 mlynedd mynedol yr wyf yn gwybod yn sicr fod y gwaith hwn yn ddwyfol, a bod yr Eglwys hon yn cael ei harwain gan law Duw; llefarodd ar undeb y bobl, a byw er derbyn y bendithion; os gwnawn yn ol a wyddom oreu, nyni a lwyddwn.

Y Llywydd B Young a ohiriodd y Gymmanfa hyd y 6fed o Hydref nesaf, gan sylwi pe y parhaem am wythnos gyfan, ni allai ond ychydig o'r Henuriaid gael y fraint o dystiolaethu: sylwodd mai yr hwn a gyfrana wirionedd cyn gyflymed ag ei derbynia a dŷf mewn grâs ac mewn gwybodaeth o'r gwirionedd. Y genadwri gyntaf i Joseph, yr hwn oedd yn Epraimiad pur, oedd i gasglu Israel. Dysgodd y Saint pa fodd i fyw a dianc rhag clefydau, a thaer annogodd hwynt i gadw y Geiriau o Ddoethineb; ac i roi heibio defnyddio tê, coffi, tybaco, gwirod, a phob pethau o'r fath yna, a chodi eu plant yn iachus; y mae gan y bobl hyn i wneuthur hyny. Yna bendithiodd y Saint.

Canodd y côr, a therfynodd y Llywydd Heber C. Kimball drwy weddi.

T. BULLOCK, *Ysgrifenydd y Gymmanfa.*

[Dyfynwn o bregethau y Gymmanfa yn y rhifynau dyfodol.—GOL.]

---

## LLYTHYR O DDINAS Y SPANISH FORK.

*Dinas y Spanish Fork, Mawrth* 28, 1855.

ANWYL FRAWD WM. WILLIAMS,—Gyda phleser y defnyddiaf yr adeg bresennol i ysgrifenu atoch y llinellau canlynol, gan obeithio y bydd iddynt i'ch cael yn gadarn yn y ffydd yr hon a roddwyd unwaith i'r Saint. Mae yn dda genyf allu eich hysbysu fy mod wedi cyrhaedd pen fy nhaith, yn iach a diogel, oddiar diwedd Medi, ac yr wyf yn mwynhau iechyd rhagorol hyd yn awr, diolch i Dduw am hyny.

Cyfaddefaf fy esgeulusdod i ysgrifenu atoch yn gynt, ond bu un rhwystr trwy fod gormod o eira i'r llythyr-gerbyd groesi y mynyddoedd. Mae Dinas y Llyn Halen yn 7 milltir o hyd, wrth dair o led, a'r heolydd wedi eu rheoleiddio o'r Dwyrain i'r Gorllewin, ac o'r Gogledd i'r Deheu, ac y mae y lle mor wastad fel y gellir gweled o'r naill ben i'r llall yn yr heolydd,

Mae ynddi amryw o adeiladau ardderchog: mae y Tabernacl yn adeilad rhyfeddol o faint, ac wedi ei addurno yn ogoneddus iawn. Bu'm yn y Gymmanfa yn mis Hydref, ond yr oedd y Tabernacl, er cymmaint ei faint, yn rhy fach i gynnwys y gynnulleidfa. Dywedaf na welais yn fy mywyd y fath dorf foneddigaidd ac iachus yr olwg; nis gallaswn lai nâ dweyd yn fy meddwl y fod "gwênau y Nefoedd ar y bobl hyn. Cefais fy nharo â syndod wrth weled y cerbydau yn dylifo i fewn i'r Ddinas o bob cŵr o'r Diriogaeth.

O! mor hyfryd oedd cael y fraint o eistedd yn Nhabernacl cynnulleidfa yr Arglwydd, yn mhlith miloedd o frodyr a chwiorydd, i wrandaw ar Brophwydi ac Apostolion Duw yn pregethu egwyddorion y nef, heb neb i ddweyd "hen seintiau," "gau-brophwydi," &c., na thaflu cerryg i'r ffenestri fel y gwelais mewn cymmanfaoedd yna.

O! mor hyfryd yw trigo gyda phobl Dduw! Dywedaf wrthych, frodyr a chwiorydd yn Nghangen y Fan Galch,—byddwch yn ffyddlon i gadw gorchymynion Duw, ac ymdrechwch i ddyfod i fyny i fynydd tŷ yr Arglwydd, i gael eich dysgu yn ei gyfreithiau Santaidd! Ac o berthynas i fywioliaeth, mae yma le da i fyw: oes meddaf, gwell dair gwaith nag yna; mae pawb yn byw ar eu tir ac yn eu tai eu hunain, ac mor belled ag y gwelais y mae yma ddigonedd o bob peth i fwyta. Pris y gwenith yn awr yw un doler y bwshel. Mae yma ddigonedd o bytatws, &c., a phob math o lysieu. Mae y celfyddydwyr yn ennill tri doler y dydd, gweithwyr cyffredin o ddoler a hanner i ddau ddoler y dydd;—mae digon o waith i bawb. Dywedaf wrth Eleanor am fod yn galonog i ddyfod yma, a pheidio gwrandaw ar ffyliaid yn traethu eu celwyddau am y Saint yn Utah; yr wyf yn *gwybod* fath le sydd yma, a chynghoraf bawb ag sydd a dymuniad i wasanaethu Duw i ddyfod yma, canys yr wyf wrth fodd fy nghalon.

Yr wyf wedi cael 20 erw o dir, ac wedi dechreu ei gloddio, ac yr wyf yn meddwl adeiladu tŷ o hyn i'r geuaf, fel pan y y deuwch yma y bydd genyf le i'ch groesawu. Cofiwch y byddaf yn eich dysgwyl yn yr hydref. Anfonwch lythyr yn ol mor fuan ag y galloch, a phob newyddion neillduol er fy ymadawiad. Ydwyf eich ffyddlon frawd,

David Davies.

## LLYTHYR Y CHWAER DANIELS.

*Dinas y Llyn Halen, Mai* 27, 1855.

ANWYL BRIOD,—Gobeithio y daw y llythyr hwn i'ch llaw, a'ch cael yn iach a chysurus fel ag yr ydym ninnau oll; diolch i'r Duw a'n pïa am ei fawr ofal o honom. Derbyniasom eich llythyr (yr hwn a ysgrifenasoch yn Nghaerfyrddin,) ar y 13eg o'r mis hwn. Gallech ddeall ein llawenydd wrth glywed oddiwrthych, am eich iechyd a'ch llwyddiant, eich ffydd a'ch penderfyniad i ledaenu teyrnas Dduw yn mhlith ein cydgenedl.

Wrth ddarllen hanes y byd, a'ch llythyron chwithau, yr y'm yn canfod yn eglur fod yr hyn a brophwydwyd yn dyfod ar warthaf trigolion y ddaear, sef, fod y "ddaear i gael ei gwneuthur yn wâg o drigolion drygionus," medd yr Arglwydd, drwy heintiau, newyn, a'r cleddyf,—hyn a bregethodd Saint y Dyddiau Diweddaf er's blynyddau yn ol yn Nghymru a Lloegr, Twrci a Rwssia, ac ar hyd glanau afon y Danube, am filltiroedd lawer, gan ddywedyd. Ffowch tua Seion ac na sefwch, canys mi a ddygaf ddrwg o'r gogledd, a dinystr mawr. Y llew a ddaeth i fyny o'i loches, a dyfethwr y cenedloedd a gychwynodd, ac a aeth allan o'i drigle i wneuthur dy dir yn orwag, a'th ddinasoedd a adewir heb drigiannydd. Er mai ffolineb oedd pethau fel hyn gynt yngolwg beilchion y ddaear, ond yn awr eu llygaid eu hunain a'u gwel. Nid oes ond dinystr yn aros y rhai hyny a wrthodant genadwri Saint y Dyddiau Diweddaf, o herwydd trefn Duw i gadw dyn ydyw, ac yr ydym yn gwybod mai hi ydyw yr unig un sydd a nerth digonol i wneyd hyny.

Mae y Ddinas hon yn cynnyddu yn le mawr iawn, y mae llawer o adeiladu yn barhaus, ac y mae y Deml yn myned yn mlaen yn gyflym yn bresennol. Y maent yn tori camlas o'r Ddinas i'r Big Cotton Wood Kanyon, er cludo *granite rock* i orphen y Deml. Y mae iechyd a llwyddiant y wlad, wrth bob hanes a gawn, yn well nag un lle arall dan haul,—heddwch a chyd-weithrediad sydd yn teyrnasu yma, a chredwn na all un dref na gwlad arall dystio hyn.

Cawsom Gymmanfa neillduol o dda yn Ebrill diweddaf, yr hon a barhaodd am ddau ddiwrnod. Cafodd llawer eu galw i fyned ar genadiaethau i blith pobl gochion y goedwig, i bregethu yr efengyl yr hon a wrthododd eu tadau. Dywedodd y Llyw-

ydd B. Young fod cenedloedd y ddaear wedi profi eu hunain yn annheilwng o iachawdwriaeth, ac fod yr amser wedi dyfod i fyned at ddefaid gwasgaredig tŷ Israel, yn Neheu a Gogleddbarth yr Americ; felly cafodd dros gânt a hanner eu galw i fyned atynt; o'r nifer hyn cafodd un Cymro ei alw, sef Joseph Parry, ac y mae efe yn awr wedi myned. Y mae cannoedd o'r Indiaid oddiamgylch yma wedi credu yr Efengyl, ac wedi eu bedyddio yn ddiweddar. Y maent yn tystiolaethu fod yr "Ysbryd mawr" yn dweyd wrthynt fod y Saint yn bobl dda, ac am iddynt beidio gwneyd dim niwed iddynt. Hefyd y maent yn hoff iawn o Lyfr Mormon, deallant ei fod yn rhoddi hanes eu tadau. Mewn gair, mae yr Arglwydd yn dechreu cyflawni ei addewidion yn mhlith y bobl hyn, fel ag y dywedodd trwy enau ei was Nephi, (gwel 73 tud. o Lyfr Mormon.)

Y mae teulu Jeremy yn iach ac yn cofio atoch, ac felly teulu y Brawd Jones; cofiwch fi yn fawr at y brawd Jones. Terfynaf yn awr, gan anfon ein serch atoch.

Eich anwyl wraig,

MARY DANIELS.

---

## LLYTHYR HENRY HARRIES.

*D. Ll H. Mawr, Mai 27,* 1855.

ANWYL FRAWD DANIELS.—Cefais arddeall trwy eich llythyr diweddaf at eich teulu, eich bod yn chwenych cael ychwaneg o newyddion o'r Dyffryn hwn, minnau a dybiais mai nid anfuddiol i mi ysgrifenu ychydig linnellau atoch. Bydd yma gyfnewidiadau mawrion erbyn y dychwelwch: mae y Ddinas yn cynnyddu yn gyflym, ac y mae llawer iawn o adeiladau gwychion yn cael eu hadeiladu yr hâf hwn. Y mae tŷ y Llywydd B. Young ar gael ei orphen, yr hwn sydd yn adeilad hardd rhagorol, ac y mae un arall ar waith ganddo. Y mae Swyddfa Ddegymol newydd wedi ei chodi yn agos i hen Swyddfa Brigham. Dywedir iddynt godi un fil ar bymtheg o fwsheli o wenith yn Ninas Ogden y flwyddyn ddiweddaf. Y mae argoel dda am wenith eleni etto, eithr y mae wedi bod yn sych iawn er amser hau hyd yr wythnos ddiweddaf, pryd y gwlawiodd nes ireiddio y tir yn hyfryd. Y mae camlas yn cael ei wneyd

o Lyn Utah i ddwfrhau y tuhwnt i'r Iorddonen. Y mae Walker, Blaenor yr Indiaid, wedi marw, ac y mae ei frawd Arapeen wedi ei osod yn ei le, yr hwn oedd heddyw yn pregethu oddiar yr esgynlawr.

Terfynaf yn awr, gan ddymuno llwyddiant i chwi, a phob bendithion a gaffoch o hyn hyd byth. Os llwyddwch i gael rhai o'm pethynasau i ufyddhau, dymunaf arnoch anfon gair yn ol yn eu cylch.

Eich brawd yn y ffydd,

HENRY HARRIES.

---

## CAIS AT ATEB GOFYNIADAU AMOS CLARK, YN RHIFYN 13EG O'R "UDGORN."

[Parhad o dud. 219.]

Y 4YDD ofyniad yw, "Paham na dderbyniai pawb yr Ysbryd Glân *pan* y gweinyddir arnynt?" Gall fod diffyg ffydd ac anwybodaeth yn rwystr iddynt ei dderbyn; y mae llawer yn esgeuluso, ac ereill heb eu dysgu, o bosibl, fod yn anghenrheidiol iddynt weddio yn daer am dano,—rhaid i bob dyn edrych yn ddyfal tua'r nef, canys heb hyny nid oes neb yn derbyn y rhodd hon, ond pe byddai iddynt weddio trwy eu hoes gan wrthod arddodiad dwylaw dynion awdurdodedig, ni dderbynient "*ddawn* yr Ysbryd Glân." Dichon y bydd yn rhaid i ambell un buro ei hun drwy fuchedd rinweddol, cyn y bydd ei deml yn addas i'r Ysbryd Santaidd i drigo ynddo. Y mae yn ffaith fod llawer yn derbyn yr Ysbryd Glân dan, neu ar y pryd y bydd yr Henuriaid yn gweinyddu yr ordinhâd o osodiad dwylaw, ond nid yw hyny yn *reol* gan Dduw i wneyd felly bob amser. Dywedai Pedr, "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau, a chwi *a dderbyniwch* ddawn yr Ysbryd Glân;" ni sicrhaodd y byddai iddynt ei dderbyn ar y pryd, neu *pan* y gweinyddid arnynt. Mewn man arall, dywedir, "Ac *wedi* i Paul osod ei ddwylaw arnynt, yr Ysbryd Glân a ddaeth arnynt." Etto, "Hwy a ddodasant eu dwylaw arnynt, a hwy a dderbyniasant yr Ysbryd Glân." Ni ellir penderfynu oddiwrth y dyfyniadau yna pa un a dderbyniasant yr Ysbryd Glân y foment y gweinyddwyd arnynt te wedi hyny, ond gall pawb ddeall mai trwy arddodiad

dwylaw yr apostolion y rhoddid yr Ysbryd Glân. A chaniatâu iddynt oll dderbyn yr Ysbryd ar y pryd, nid yw hyny yn gosod angheurhaid ar Dduw i'w gyfranu i bawb felly; canys, er mai arddodiad dwylaw dynion awdurdodedig yw y cyfrwng neu y ddefod drwy ba un y derbynir yr Ysbryd Glân, etto ar ewyllys Duw yn unig y mae bendithio y gweinyddiad o honi trwy gyfranu y ddawn a ddewisa Efe, ar y pryd, neu dan yr amgylchiadau y myno. Nid oedd llawer yn nyddiau yr apostolion yn derbyn unrhyw ddoniau ag oeddynt yn arddangos rhyw ryfeddodau neillduol, na gwahaniaeth gweledig i'r Saint ereill ar y pryd, ac nid oeddynt yn wybodus iawn i'r *derbynydd* lawer pryd pan weinyddid yr ordinhâd arno. Dywed Paul wrth y Corinthiaid—"Eithr am ysbrydol doniau, frodyr, ni fynwn i chwi fod heb wybod;" addefa Paul yma fod rhai o'r Saint yn anwybodus o'r doniau ysbrydol, ac felly nad oeddynt hwy oll wedi eu derbyn, er eu bod oll wedi eu bedyddio ac wedi cael arddodiad dwylaw. Da fyddai i bawb ddeall fod dynion yn derbyn rhyw ddylanwad o'r Ysbryd Glân, megys "eglurhâd yr Ysbryd," heb dderbyn, *pan* y gweinyddir, unrhyw ddawn allanol neu amlwg. Dichon fod y brawd Amos Clark yn teimlo i raddau yn anfoddlon am na fuasai Duw yn cyfranu rhyw ddoniau neillduol iddo; ond cofied mai plentyn yw, ac os yw efe yn blentyn da, bydd oediad ei Dad i roddi y cyfryw ddoniau iddo, er ei les ef. Daw i'm meddwl am ymddygiad y fam at ei phlentyn pan y byddo yn dechreu cerdded; y mae hi yn lledu ei breichiau gan ei alw ati, a phan fydd yr un bychan yn ymdrechu ei oreu i ddyfod ati, hithau a ymsymud yn ei hol gan ei annog i'w chanlyn, ac wedi iddo ei chyrhaedd bydd hyny wedi achosi i'w ffydd ddyblu erbyn y tro nesaf, ac wrth hyn ei fferau a gryfhânt, a'i ymddiried wna gynnyddu erbyn y delo amgylchiad mwy pwysig. Nid yw anwyliaid Duw yn cael eu bendithio *pan* yn ufyddhau bob amser,—rhaid iddynt weithio drwy ffydd yn fynych, ac y mae ffydd yn anhebgorol cyn y gall dyn ennill hyfdra penderfynol i geisio y fendith addawedig, ac nid gwiw i'r hwn sydd yn amheu feddwl y derbynia efe ddim gan yr Arglwydd; ond y gwr sefydlog ei feddwl, sydd yn nesâu gyda dwylaw glân, yn benderfynol, etto yn amyneddgar hyd amser daionus Duw i gyfranu, heb osgoi, na gadael i'w ffydd wanychu dim, efe a dderbyn y fendith, a'i ffydd trwy

hyn a ddyblir erbyn y tro nesaf er derbyn bendith a fyddo fwy; felly gwelwn fod oediad ein Tad i gyfranu y fendith pan yn ufyddhau yn troi er lles i'r Saint yn fynych. Duw sydd yn gwybod oreu pa beth sydd er ein lles, a cheisiwn ninnau yn ffyddiog nes derbyn.

*(I'w barhau.)*

*Gynt o Dre-Sior.* THOMAS HARRIES.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MEDI 1, 1855.

SEFYLLFA EGLWYS DDUW YN NGHYMRU.—Gyda phleser yr hysbyswn ein bod yn deall, naill ai drwy gyfeillach, drwy lythyrau, neu drwy ffeithiau eglurhâol y fod y Llywyddion yn gyffredinol ar y Cynnadleddau yn ymddeffroi i'r gwaith pwysig o iawn rybuddio eu cyd ddynion o bwysigrwydd y genadwri olaf hon o'r nef—adferiad yr efengyl dragywyddol, a'r unig iachawdwriaeth a gynnygia Duw i'r byd rhag y barnau, y newynau, yr heintiau a'r rhyfeloedd ag y mae Efe ar dywallt ar ddrwg-ddynion. I'r dyben o wneyd hyny yn effeithiol, dylid nid yn unig annog pob swyddog i chwilio am bob cyfleusdra a allo gael i bregethu a thystiolaethu; dylid nid yn unig, wneuthur hyny drwy ddylanwad Ysbryd y cariad, a bod yn daer i berswadio, ond hefyd ystyriwn fod cyd-dystiolaethau cydrywiol y Saint, yn enwedig drwy eu hesiamplau duwiolfrydig, a'u bucheddau difrycheulyd yn anhegorol er cael llwyddiant ar yr hâd da a hau'r. Cymhella doethineb yr Ysbryd dwyfol a feddant i wylio ar fol hyn yn cymmeradwyo ac yn rhoddi grym i'r gair da; ac na fyddont yn caniatâu i'r naill dynu i lawr drwy fucheddau anaddas yr hyn a geisia y ffyddloniaid adeiladu ar deyrnas Dduw. Dyger pob person i glorian cywir y *Ddysgyblaeth* a rád roddwyd i ni gan Ben Mawr yr Eglwys; canys oni rodiant yn ol y rheol hon ofer eu bedydd a'u holl broffes arall;

yr hwn a barhao yn ffyddlon i galw holl orchymynion Duw hyd y diwedd yn unig a fydd cadwedig.

Mae gormod o le i ofni fod Saint yn ymorphwys ar wneyd eu "gweithredoedd cyntaf" yn unig, fel pe baent yn credu mai ufyddhau yn unig i'r hen ddyledswyddau a ganfyddent hwy yn ddyledus arnynt yn eu dyfodiad cyntaf i'r eglwys yw yr oll sydd yn angheurheidiol; tra na throseddant ryw gyfreithiau pendant, ond dyfod i gyfarfodydd yn weddol gysson, talu ambell geiniog at gario y gwaith yn mlaen, neu beidio—fel yr ewyllysiant, a thra y gallant ond rhygnu gyda hi ryw fodd heb eu hysgymuno, y bydd o'r goreu arnynt yn y diwedd. Sonir cryn lawer gan rai fel hyn am eu dechreuad gyda'r Eglwys, a cheisiant esgusodi eu hunain i raddau rhag cyflawni yr hyn a geisir ganddynt yn awr, "o achos," meddant, "nid oedd pethau fel yna yn ofynol pan y daethym i i'r eglwys er ys blynyddau yn ôl." Ni phetruswn gyhoeddi hwna yn ysbryd sectyddol, ïe, yn ormod felly i barhau hyd y diwedd yn Nheyrnas Dduw, eithr rhybuddiwn bawb a garwn i ymochelyd rhagddo. Cyfammodasom â Duw wrth fyned i ddyfroedd bedydd i ufyddhau i "*bob gair a ddaw* o enau yr Arglwydd" drwy ei weision. Teyrnas gynnyddol yw Teyrnas Dduw yn yr ystyr yma; Efe a eglura ddirgelion ei deyrnas "yn llin ar lin," "ychydig" yn awr, fel y gallont ei ddeall a'i wneuthur, yr hyn a deilynga iddynt "ychydig" eilwaith; ac felly gwelir mai wedi gwneuthur yr ychydig a orchymyna y ceir y wers newydd, ac y mae pob gwers olaf mor anhebgorol i iachawdwriaeth yr enaid i fywyd ag oedd y gyntaf; a'r sawl a wrthodo gyflawni yr olaf, torrwr adduned yw, a fforffetia ei hawl drwy hyny i freintiau y tŷ, ac i ddysgeidiaeth ychwanegol yr Hwn yr addawasai ufyddhau iddo. Ysbryd gwrthgiliad yw hwna; ac wedi yr ysgymuner hwna o eglwys Dduw, efe yw yr uchaf ei lais braidd i dystiolaethu mai eglwys Dduw yw, neu oedd hon yn ddiau, eithr fel mae gwaetha y modd fod dynion drwg wedi dwyn pethau newydd a gormesol iddi, yr hyn ni all efe oddef.

Mae dosparth arall i'w cael a ânt i'r eithafion arall i'r rhai hyn; eu holl ymgais yw am bethau newyddion gan ddinystru yr hen; yn eu gwanc mawr am nefolion bethau i ddiwallu eu chwaeth anghenog, ymgrafanga eu hysbrydoedd ehedegog am yr holl ddirgelion a gyhoeddir yn Seion drwy y *Journal*, y

*News*. a'r cyfan ond yr hyn a berthyna iddynt yn neillduol i'w cyflawni yn y cylchoedd y maent ynddynt, ac nid anfynych y ceir hwynt yn dysgu eu Llywyddion yn y gwersi a berthynant i breswylwyr gwlad arall, o dan amgylchiadau hollol wahanol iddynt eu hunain, fel pe yno eisoes, heb allu dirnad na gwneyd dim o'r hyn a ofynir ganddynt yma. Tra y mae cyrhaedd at wybodaeth yn dda trwy bob cyfryngau, ac yn neillduol o'r hyn a gyhoeddir yn Seion a thrwy y *Star*, a holl gyhoeddiadau yr eglwys, etto mae eisieu ewttogi tipyn ar ffaen adenydd yr adar hyny a ehedant dros y nyth cyn magu plwf. Gwers ddaionus fyddai iddynt y ffaith mai yr unig ffordd i gyrhaedd y mwynhâd o'r bendithion a'r golygfeydd hyfryd hyny yw, drwy wrando ar, a gwneuthur holl gynghorion y rhai a osodwyd yn arweinyddion iddynt tra yma; mai o gam i gam, o ffydd i ffydd, ac o nerth i nerth, fel hyn yn unig y cyrhaeddant y mwynhâd o'r hyn a ddysgwyliant.

Dymunem argraffu ar feddwl pob un o'r Saint y ffaith mai iachawdwriaeth feunyddiol yw yr unig un a wna les, ac mai drwy ufydd-dod beunyddiol i'r hyn a ddysgir iddynt y ceir hi. I'r doeth-ddyn mae cyflawni y wers bresennol a chael gwers newydd yn rhesymol, dysgwyliadwy, ac anhebgorol er cynnyddu ei ddealltwriaeth ar gynnydd y rhai y dysgwylia gyd-oesi â hwy yn y nefol wlad. Wrth y ddau ddosparth yna dywedwn fod "y llythyren yn lladd eithr yr Ysbryd yn bywhau" yn awr fel yr oedd yn amser Paul yn gymhwys; dysgeidiaeth yr Offeiriadaeth a fo yn eu plith yw rheol a bywyd y Saint, ac y mae darfodedigaeth yn sicr o gymmeryd lle ar y rhai a wrthodant eu hymborth dyddiol hwy, nad pa un ai dan feddwl fod yr ymborth mynedol a gawsant yn eu babandod, ynte yr ymborth dychymygol a gânt yn Seion yn ddigonol i gynnal bywyd. Byddedi alwadau taerion ac amserol y cylla am ymborth i'r corff goffâu y Saint fod yr enaid a breswylia ynddo yn berson mor ymddibynol ar ymborth ysbrydol yn ei bryd er ei les ag yw y corff.

Mae genym air neu ddau at ddosparth arall o bobl ag sydd rhy anwybodus o'u lles eu hunain, sef y rhai a ystyriant y fod rhwymau arnynt i gyflawni dyledswyddau ysbrydol, fel eu galwant, megys byw yn foesol, yn weddigar, elusengar, a duwiolfrydig, eithr a ystyriant eu bod at eu rhyddid pa un a gyfran-

ant o'u *hamser* na'u *heiddo* at waith Duw. Dywedwn, fod y sawl na chyssegrodd ei hunan a'r oll a berthyna iddo i'r Arglwydd yn rhoddi iddo "aberth ânafus," tra y gofyna Efe y blaenffrwyth a'r *di* anaf o bob peth, neu ei fod yn dorrwr ammod os wedi cyssegru eu hunan a'i oll, y gwrthodo wasanaeth y naill neu y llall pan ei gofyna. Mae ufydd-dod i'r naill orchymyn o eiddo Duw drwy ei weision o gyd-bwys i'w gyflawni ag yw y llall. Tra y mae Ysbryd Duw wedi cymhell Llywyddiaeth eu Heglwys i ofyn gan y Saint i dalu deunaw a dimeu yn flynyddol at adeiladu Teml yr Arglwydd, a thra y gorchymynir i'r naill a'r llall gyfranu o'i eiddo, yn ol fel y bendithia Duw ef, i'r Drysorfa Ymfudol er casglu ei blant i Seion, ni allwn ddirnad am unrhyw esgus digonol i esgusodi neb o anufydddod a esgeulusa wneuthur felly. Mae angen mawr i'r holl Lywyddion bregethu, darlithio, ac *esbonio* os mynant, neu ryw fodd i gael gan y Saint iawn ddeall y dyledswyddau o gyfranu at y Cymdeithasau daionus hyn, ac at dalu eu dyledion i'r eglwys am lyfrau. Ofnwn fod esgeulusdod gormodol o ddysgu yr egwyddor ddaionus hon i'r Saint; mae y ffaith o fod neb a'u hesgeulusant yn wirfoddol yn honi unrhyw hawl i freintiau eglwys Dduw yn profi diffyg iawn ddealltwriaeth, heblaw fod bychandra y cyfraniadau at y naill a'r llall yn ffaith alarus i brofi i'r Llywyddion fod eu gwaith hwy o *ddysgu* ar ol, yr hyn a brawf eu bod yn euog o bechod o esgeulusdod, yr hwn sydd wedi myned braidd yn annyoddefol. Er prawf o hyn, cyferbynied y Llywyddion gyfraniadau y Saint at y pethau hyn â chyfraniadau yr un rifedi o Saint yn unrhyw wlad arall; er enghraifft, sylwer ar gyfraniadau Cynnadleddau yn Lloegr, y rhai a gyhoeddir drwy y *Star*; sylwer yn rhifyn 34 o'r gyfrol am y flwyddyn hon, a cheir fod un Gynnadledd, yn cynnwys ond 241 o aelodau, wedi cyfranu mwy at y D. Y. Barhaus a'i Deml nag a gyfranodd tair ar ddeg o Gynnadleddau Cymru at yr un pethau!!! Hawyr! ystyriwch! mynwch ddiwygio ar frys. Cynnadledd arall a welir yn cynnwys ond 670 o aelodau wedi talu mwy o amryw bunnoedd nag a dalodd dros 4000 o Saint Cymreig! Lywyddion! pwy a gaiff y gamp uchel? Beth meddwch! onid yw yn llawn bryd deffroi, os byth y gwneir? Etto ceir enghraifft arall yn Scotland yn cynnwys tua un o bob pedwar ag sydd yn Nghymru wedi talu fwy

nâ dwy waith y swm at y Deml a'r Drysorfa Ymfudol Barhaus ag a dalodd holl Gymru yn y chwarter diweddaf! Etto gofynwn mewn syndod pa beth mae Llywyddion yn ei feddwl na'i wneuthur? Pa fodd y dysgwyliant gael o Ysbryd eu swyddi na gwen na ffafr Duw arnynt tra yn ymollwng i'r fath farweidd-dra ac esgeulusdod anesgusodol ag a arddangosir yn hyn! Nid y'm yn meddwl caniatâu i bethau barhau fel hyn yn hir. Nid gwiw beio tlodi y Saint, canys mae y Saint Cymreig yn wybodus i ni mewn gwell sefyllfa o lawer nag yw y rhai gyfranasant yr hyn a nodwyd. O na, drwy beidio cyfranu o'r hyn a ellir yw y ffordd i dlodi, tra mae bendith ar gyfraniadau ewyllysgar y tlodion i'w cyfoethogi, a bai y Llywyddion yw na bae yr holl Saint yn deall hyn drwy brofiad.

Frodyr, mae Duw yn gofyn i chwi edrych fod y Cymdeithasau hyn a Dosparth y llyfrau yn cael eich cefnogaeth gref, ac eglurhâd mynych yr un cymmaint ag y dysgwylia i chwi bregethu, bedyddio, dysgyblu, neu unrhyw beth arall a orchymyna i chwi; ac o ganlyniad, pa fodd y gall esgeuluso y naill neu y llall beidio a bod yn bechod yn ei erbyn. Ni raid i ni yma geisio egluro i *chwi* yr anghenrheidrwydd o wneyd hyn gobeithiwn, ond yn unig galw eich sylw buan at y pethau hyn, er gweled diwygiad trwyadl a buan. Er gochelyd y siomedigaeth a geir drwy addunedau o swmiau mawrion ar ddiwedd y chwarter, cyhoeddasom *Dafleni* cyfleus er cadw coffadwriaeth o'r oll a delir, ac fel y caffo pawb gyfle i dalu eu symiau bychain yn wythnosol, yr hyn pe talasai pob un ond dimeu yn y mis, buasai hyny bunnoedd yn fwy nag a gafwyd hyd yn hyn yn Nghymru. Edryched pob swyddog perthynol fod casglwyr o'r iawn *Ysbryd* yn cael eu danfon oddiamgylch bob boreu Sul gyda y *Tafleni*, i dderbyn cyfraniadau y Saint at y naill a'r llall o'r hyn a osodir o'u blaen. Dylai pob Llywydd ystyried yr esgeulusdod o hyn yn bechod, ac ymddwyn ato fel yr haedda.

---

## RHYFEL RHWNG Y TALEITHIAU A'R INDIAID GORLLEWINOL.

Dylifa newyddion i'r Taleithiau yn feunyddiol o wahanol barthau o'r gororau gorllewinol, a chyda masnachwyr, mynyddwyr, teithwyr, a helwyr o wledydd yr Indiaid, fod cyffroad

par gyffredinol drwy y mwyafrif o'r llwythau Indiaidd i'r gorllewin, gogledd a dê-orllewin hyd y mynyddau creiglyd ac ymhellach; eu bod yn unfrydol braidd wedi cyngreirio i wrthsefyll gormes yr Unol Daleithiau, ac y mae eisoes dros 3,000 o'u gwroniaid wedi ymfyddino mewn lle a elwir "Ash-hollow," ar y ffordd a arweinia i, ac nid neppell o Fort Laramie. Dywed y genad olaf eu bod wedi yspeilio yr hen fasnachwyr henaf yn eu plith, rai a fuont fyw yn eu plith am yn agos i 40 mlynedd, wedi ymbriodi â hwynt, a magu plant yn eu plith, etto mae' atgasrwydd yr Indiaid gymmaint yn awr yn erbyn y gwynion fel y maent ar ol yspeilio y rhai hyn o gannoedd o geffylau, eu nwyddau, a bygwth eu *scalps*, wedi eu gorfodi i ffoi o'u plith am eu bywydau. Ni wnaethant fel hyn mewn unrhyw ryfel blaenorol â'r gwynion. Yn awr, baeddiant y milwyr a anfonodd y Llywodraeth i amddiffyn ymfudwyr, &c., i ddyfod i'w cyfarfod, mai eu pleser a'u *sport* hwy fydd lladd pob copa o'r gwyr â'r cotiau cochion, tra y byddont yn cogldroi i sŵn eu miwsig a'u drwm, ac yna y diangant i'r coed. Gwawdiant y meddylddrych o gael eu goresgyn gan yr Unol Daleithiau.

Ymosododd byddin o Indiaid ar Fort Kearney, ac wedi gyru nifer o'r Pawnees i mewn o'u blaen, lladratasant anifeiliaid y lle oddiar eu bugeiliaid. Saethodd y milwyr i'w plith, eithr fel yr oedd mwyaf ffortunus iddynt eu hunain a'r lle, ni chlwyfwyd neb, onidê diamheu y lladdent bob dyn gwyn oddeutu y lle, o herwydd yr oeddynt yn llawer lliosocach. Da yw dweyd iddynt foddloni myned ymaith gyda eu hyspail heb ladd neb. Mae tua 4,000 o filwyr y Llywodraeth ar eu ffordd i'r amddiffynfeydd gorllewinol, eithr ofnir y byddant rhy ddiweddar i achub bywydau yr ychydig sydd yno eisoes.

Daeth boneddwr Ffrengaeg o darddiad a briodasai ferch penaeth Indiaidd, o'r enw "Pedair arth," yn mhlith y llwyth liosog a elwir Sioux, gyda ei dad ynghyfraith i mewn i Council Bluffs, gyda 60 o lodges (teuluoedd), o herwydd iddynt wrthod ymuno gyda y gweddill o'r llwyth i ymladd yn erbyn y bobl wynion, am yr hyn dywedir fod y lleill yn holloll awyddus. Hysbysir hefyd fod y Sioux wedi cymmeryd gwersyll Mormonaidd o ugain o waggeni, a bod yn eu plith tuag ugain o wragedd a phlant, ond dim dynion gwynion. Ni ddywed mai gwynion y gwragedd a'r plant chwaith; ond digon er gwrthbrofi yr

ystori yna yw dweyd nad oedd gwersyll o Saint wedi cychwyn mewn pryd i fod o fewn mil o filltiroedd i'r fan a noda y stori, ac ni fuasai y Sioux yn myned mor bell i ganol gwlad y snakes i gymmeryd y fath ysbail.

Ar nad beth a ganiatâ Duw i'r Indiaid wneyd â'r Saint sydd yn ymfudo i Seion eleni dros y *plains*, gwyddom fod ar eu ffyddlondeb addewid o amddiffyniad hollalluog fraich yr Hwn ni fforffetiodd ei eirwiredd erioed; ac mewn ufydd-dod i alwad yr Hwn yn unig yr ânt; pe ond hyny nid ofnwn y canlyniadau o ufyddhau iddo Ef. Etto er cysur i'r sawl sydd ofnog am eu cyfoedion yno, dywedwn nad ystyria yr Indiaid mo y "Mormonees" yn Americaniaid, nac o ganlyniad yn elynion ond yn gyfeillion iddynt hwy. Bu dda i ni am ein bywyd tra yn teithio yn eu plith ein bod yn "Formonee." Gwaeddent mewn cyfarchiad "Americani?" Atebem, na, mai "Mormonee" oeddym; ar hyn newidiai eu gwyneb-pryd, i lawr a'r drylliau a'r bwa saethau, a rhedent yn mlaen bob amser i siglo dwylaw yn siriol! Ni allem lai na synu wrth y dylanwad hyn, eithr mwy nâ thebyg fod iddo achosydd uwch ddynol, ac a fydd o fawr les ac amddiffyniad i'r Saint yn awr, er fod yr Indiaid wedi clywed am ormes yr Americaniaid ar y "Mormonees" yn Missouri, ac wedi galaru yn fawr o herwydd merthyriad ein Prophwyd a'n Patriarch, nes mae yr oll yn magu cydymdeimlad brawdol, ac mae y ddynoliaeth a feddant yn eu cymhell yn amddiffynwyr rhag "Cristionogion!"

---

## AWYDD AM SEION.

GORTHRYMDER y dyddiau diweddaf,
Sydd feichus ac anhawdd eu dwyn;
Gweddiaf am gael fy ngwaredu,—
O Arglwydd gwna wrando fy ngwyn;
Prysured a deued yr amser,
'Rwy'n edrych am weled y dydd,
Pan gaffwyf o'r gorthrwm presennol,
Yn hollol fy ngollwng yn rhydd.

Awyddus wyf beunydd am Seion,
Mi garwn fyn'd yno i fyw;
Rhyw bethau daionus ddywedir
Am Seion—cartrefle plant Duw;
Gwir gariad ac undeb s'yn ffynu,
Rhwng pawb o breswylwyr y tir;

Hiraethlawn yw f' enaid am Seion.
Gwnewch goelio – 'rwy'n d'wedyd y gwir.
Gan f' awydd mi nofiwn yr eigion.
Pe gallwn ond cyrhaedd y lân.
Rhaid aros ryw 'chydig bach etto.
Feallai gwna wawrio'n y man;
Boddlonaf i 'wyllys y nefoedd,
Boed hyny y peth ag y fo:
Yn brydlon fe gofir am danaf.
Caf fyned i dref yn fy nhro

*Taibach, ger Aberafon.* THOMAS RICHARDS.

## TALIADAU AT DDYLED CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG, O AWST 11EG HYD Y 23AIN.

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| 1. George Cutliffe, Seis, Abertawy . . | 0 | 10 | 0 |
| 2. Wm. Lewis, Alltwen . . . | 0 | 5 | 0 |
| 3. Margaret Lewis, ei wraig . . . | 0 | 5 | 0 |
| 4. John James, Alltwen . . . . | 0 | 3 | 0 |
| 5. Ann James, ei wraig . . . . | 0 | 3 | 0 |
| 6. Wm. F. Williams, Alltwen . . . | 0 | 10 | 0 |
| 7. Mary Williams, ei wraig . . . | 0 | 10 | 0 |
| | £2 | 6 | 0 |

D.S. Mae rhai ereill wedi talu cyfran, eithr ni chydnabyddir hwynt drwy yr UDGORN, hyd oni chyflawnant eu haddewidion.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O AWST 12 HYD 17.—W. Lewis, Gorll. Morganwg, £1 19s 3½c; Griffith Roberts, £1; Isaac Jones, £1 8s 10½c.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

CYNNWYSIAD. TUD.




ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 19.] MEDI 15, 1855. [CYF. VIII.

### "TYSTIOLAETH, FFYDD, AC YMDDIRIED."

*(O'r "Deseret News.")*

YR wyf yn credu yn yr Arglwydd Iesu Grist, yn ngwaith y brynedigaeth, yn egwyddorion iachawdwriaeth a bywydau tragywyddol; yn nghyfammodau gwaith y dyddiau diweddaf, dyfodiad Llyfr Mormon, yn Joseph Smith, fel Prophwyd, Gweledydd a Dadguddiedydd i Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf; yn natguddiadau y Nef drwyddo, ac yn yr egwyddor o fywydau tragywyddol.

Meddai un, "O, y mae genyf y fath dystiolaethau fod fy'm ffydd yn sefydledig, oes, y mae genyf y fath ymddiried yn ngwaith yr Arglwydd, ac yn nhystiolaeth ei weision, fel y gallwn sefyll gerbron y byd i gyhoeddi yr egwyddorion hyn. Yr wyf yn gwybod fod y pethau hyn yn wirionedd; ydwyf, gallwn wynebu ffroen y magnel, canys gwell fyddai genyf farw na gwadu y pethau hyn; ydwyf, yr wyf yn gwybod fod y Brawd Brigham yn Brophwyd, ac yn olynydd i Joseph." Caniatewch i mi ofyn, a ydych chwi yn gwybod hyn drwy dystiolaeth yr Iesu, neu a ydych chwi yn ymorphwys ar dystiolaethau dynion, ac ar ymadroddion a rhesymiadau yr Henuriaid? Os nad yw tystiolaeth yr Iesu genych, ceisiwch hi heb oedi, ac ymdrechwch o ddydd i ddydd i'w chadw, gan gofio mai hebddi nis gellwch feddu y ffydd hono sydd i fywyd tragywyddol—hebddi ni fydd genych y cyfryw ymddiried yn yr Arglwydd ag

a'ch breintia â mynedfa i'w bresennoldeb, nac a'ch cynnaliâ yn hydd profedigaeth. Nid wyf yn meddwl y profedigaethau hyny o erlidigaeth a gawn oddiwrth ein gelynion; canys pan ein herlidir, pryd hyny yr ydym yn gryf; yn yr amgylchiadau hyny y mae dyn yn gyffredin yn anghlwyfadwy. Yn anfynych iawn y clywwn am ddyn yn gadael achos rhyddid tra y byddo byddin y gelyn yn ymwasgu arno, eithr y mae profedigaethau o natur ysgafnach yn gyffredin yn achosi syrthiad y Sant; neu y pryd hyny mae y gelyn yn debycach o'n cyrhaedd. Teimlwn na wnaeth y brawd hwn neu hwnacw yn eithaf iawn; neu teimlwn fod gwell amcan genym i drefnu rhai pethau nâ'r rhai a gawsant eu tueddu i'w gwneuthur. Dechreuwn achwyn, beiwn, ymoilyngwn gyda ein teimladau, daw y diafol i mewn i'n helpu yn mlaen, a chyn hir gyrir ni o'n lle. a chyn y deallwn ein bod wedi ein maglu, ac fel yr ymnesäo ysbryd y diafol, ac y rhoddwn ninnau le i'w ddylanwad, cilia Ysbryd Yr Arglwydd, a buan ein handwyir mewn cwmwl o dywyllwch, ein gadewir i grwydro, a buan yr anghofiwn yr Arglwydd; felly yn mhob i drwch y blewyn ein cam-arweinir hyd oni chwblheir ein dadymchweliad.

Dyma y llwybr a gymmerodd pob un a adawodd y gwirionedd; llawer a ystyriwyd megys colofnau yn yr eglwys; llawer ag oedd eu ffydd wedi myned yn ddiareb; llawer ag oeddynt wedi synu y byd â'u tystiolaeth, a'u haddysgiadau wedi cael eu gwrandaw, a chael clod a phoblogrwydd; llawer a adnabuasant allu Duw, a thrwy weinyddiad pa rai y cyflawnwyd gwyrthiau, ac yr iachäwyd y cleifion; ac y mae hyd y nod y rhai a gawsant weinidogaeth angylion wedi cael eu harwain ar gyfeiliorn, a thrwy roddi ffordd i ddylanwad drygionus wedi gadael yr Arglwydd yr Hwn a'u prynodd, troi o'r neilldu a chael eu gorchfygu. Am hyny, frodyr, bydded eich hymddiried yn Nuw, canol-bwynt eich ffydd fyddo ynddo, wedi eich dysgu trwy ddadguddiadau Iesu Grist; a sefydler eich ffydd gan dystiolaeth yr Iesu, yr hon yw Ysbryd y brophwydoliaeth, a chadarnhaer hi gan yr Ysbryd Glân, fel eich bendithier yn enw Iesu Grist. Amen.

SANT Y DYDDIAU DIWEDDAF.

# LLYTHYR Y LLYWYDD H. C. KIMBALL AT EI FAB YN LLOEGR.

*D. Ll. H. Mawr, Mai* 29, 1855.

FY ANWYL FAB WILLIAM,—Derbyniais y llythyrau a ysgrifenasoch pan ar eich gwely cystudd gan y frech wen. Pan gyrhaeddasant, yr oeddwn ar daith trwy y sefydliadau deheuol, yn nghwmpeini y Llywyddion Young a Grant, ac ereill; unai llawer gyda ni yma a thraw, nes yr oedd y cerbydau yn 28 mewn rhifedi. Aethom i ddinasoedd San Pete, Fillmore, Parowan, a Chedrwydd; daeth y brodyr i fyny o Fort Harmony, a threiliasant y Sul gyda ni. Yn Fort Harmony, mae y caerau amddiffynfaol o wyth i ddeg troedfedd o uchder, 200 troedfedd ysgwâr; ac yr oedd y gweithfeydd haiarn yn myned yn mlaen yn dda; o'u ffwrnes fach yr oeddynt wedi rhedeg chwech neu saith toddiad, ac wedi gwneuthur rhai *castings* o 200 i 250 pwys yr un, tra yr oeddem ni yno, ac yr oeddynt yn bwrw peiriannau i osod morthwyl mawr ar waith er gwneuthur eu peiriannau eu hunain, ac wedi bwrw esiamplau rhagorol--anfonwyd un esiampl o haiarn gwaith i fyny i'r ddinas hon, gystal ag a wnaethpwyd erioed, a phob argoel gystal ag oedd ddichonadwy. Un rhwystr oedd eu bod yn brin o ddynion i gario y gwaith yn mlaen yn effeithiol; ein bwriad yw codi digon o gynnorthwy yn Ninas y Ll. H. Mawr i anfon i waered atynt yn union, fel yr hwylusir y gweithfeydd. Y maent wedi adeiladu a chwblhau ffwrnes fawr anferthol, yr hon a chwythant i mewn cyn hir, ac y mae yn gwneuthur yn dda, ac yn llwyddo yn y parthau hyny o'r wlad.

Pan aethom i waered, edrychasom ar wythïen ardderchog o lô yn Nyffryn San Pete, yr hon a agorir yn union, ac fe ddygir glô i'r lle hwn, am 30 doler y dunell, i ddiwallu ein gofiaid a'n peiriannau, am yr hwn y meddylir y bydd lawer rhatach nâ choed, ac y mae gystal â dim a welais erioed yn Hen Loegr, ac y mae yn dda genyf ddywedyd y fod cyflawnder o hono. Mae yn gorwedd yn y mynyddau, yn union i'r gorllewin o'r fan y croeswn afon San Pete i fyned i Manti.

Gadawsom ddinas Cedrwydd er myned adref boreu dydd Llun, â chyrhaeddasom yma boreu dydd Sul am hanner awr wedi naw, wedi bod bum niwrnod a hanner awr yn teithio •

ddinas Parowan i Ddinas y Llyn Halen (270 o filldiroedd). Ar ein taith pregethasom yn y mwyafrif o'r sefydliadau, gan eu hannog i ymwellhau, a symud tomenau eu hysguborau ac arllwysfeydd bryntni tuallan i'r muriau, addurno eu dinasoedd, gwneuthur y llefydd yn ogoneddus, a ffrwythlon; dyma oedd ein prif bregethau, ar iddynt ymwellhau ar eu talentau, ac adeiladu tai ac ysguborau da, i gymhwyso eu hunain i fod yn brif adeiladwyr yma, fel y byddont alluog i gymhwyso eu hunain i fod yn brif adeiladwyr yn y Jerusalem Santaidd.

Tuag wythnos neu ddeg diwrnod cyn i ni gychwyn tuag i waered, aeth y Llywydd Brigham a minnau tua'r gogledd cyn belled â Box Elder, gan annog y Saint i wneuthur yr un modd, a dihuno o'u cysgadrwydd, a gwasanaethu yr Arglwydd, gwrandaw ar gynghor, ufyddhau i'w orchymynion, a pharotoi erbyn y pethau hyny sydd yn dyfod yn fuan ar y byd. Gallaf ddweyd i ni gael y Saint yn gyffredinol ar eu gwellhâd, yn y gogledd a'r deheu, mewn pethau ysbrydol a thymmorol; mae y cyfryw bethau yn dygwydd yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd ag sydd yn deffroi yr oll i deimlad o'u dyledswydd, nid yn unig yn mhell, ond gartref.

Oddiyma i'r deheu, cyn belled ag yr aethom, torrwyd y llafuriau i lawr gan geiliogod y rhedyn, ac nid oes hanner can erw o unrhyw fath o lafur yn sefyll yn bresennol yn Nyffryn y Llyn Halen, ac mae yr hyn sydd ar lan yn cael ei dorri i lawr yn gyflym. Yn Swydd Utah mae y maesydd yn lled anghyfannedd. Nid oes flaguryn gwyrdd o lafur i'w weled yn nyffryn Juab, San Pete, nac yn Filmore. Y maent yn hau o hyd yn y Llyn Halen Fach, ac yn ninas Cedrwydd hefyd. Gan fod y wlad gymmaint diweddarach, nid yw y llafur fyny etto; ond y mae ceiliogod y rhedyn yno yn barod i'w ysgubo cyn gynted ag y tŷf i fyny. I'r gogledd, cyn belled â Box Elder, yr un yw yr olygfa: lle y torrant y gwenith i lawr ymddengys ei fod wedi ei ladd, fel pe na fyddai modd am ail dyfiant. Mae yn debyg y fod tair gwaith gymmaint o lafur wedi ei hau ag a hauwyd ar un amser o'r blaen yn y mynyddau; ac ymddengys fel pe byddai yn anghyfannedd-dra hollol; ac wrth olwg pethau yn bresennol, nid oes yr un argoel lleiaf y codir un bwshel o lafur yn y Dyffrynoedd y tymmor presennol hwn; etto, geill ceiliogod y rhedyn fyned, fel y galluogir ni i hau gwenith ac

yd yn ddiweddar. Galiwn ddweyd y fod mwy o wyrdd bethau yn y gerddi yn Ninas y Llyn Halen nag sydd yn yr oll o'r gerddi ereill yn y deheu, etto y mae llawer o'r gerddi yn y ddinas wedi eu llwyr ddyfetha. Dywed y brawd Staines wrthyf y boreu hwn y fod ganddo bum can mil o goed afalau ieuainc wedi dyfod i fyny, ac y maent oll wedi cael eu torri i lawr i'r ddaear; ac mewn llawer o erddi, lle yr oedd y coed *peaches*, y mae pob dalen a *pheachen* wedi myned. Ni welsoch well golwg erioed ar y *peaches* nag a welwyd yn Nyffryn y Ll. Halen, ond y mae fy nghoed i, gydag amryw ereill, yn sefyll yn dda o hyd—wedi eu llwytho â *pheaches*, fel y mae llawer o'r cangenau yn hongian i lawr yn feichiog gan ffrwythau. Y mae fy nghoed eirin wedi eu llwytho eleni am y bedwerydd waith.

A'r holl anghyfannedd-dra hyn yn syllu yn ein gwynebau, ni welsom yr un wep gam, ond ymddengys pawb yn fywiog, cysurus ac hawddgar, gydag eithriad o'r gwrthgilwyr diffydd; gobeithiwn y cynnydda eu gofid hwy—y cychwynant i Galifornia, neu i ryw le arall, a hyny ar frys—nid oes llawer o honynt ar ol yn awr, gan fod llawer wedi myned er ys tipyn yn ol. Fel hyn y mae fy nheimladau i, ac felly yr oeddynt o'r blaen,—os yr Arglwydd a'i trefna fel ag i ddinystrio ein cnydau, mi a'i cymmeraf yn rhybudd y buasai mwy drwg wedi dyfod arnom nâ newyn am fara. Nid oes ofn arnaf i, nac ar y cyfiawnion, y newynwn yn gymmaint ag y byddwn ffyddlawn ac y cadwn ei orchymynion Ef; dywed yr Arglwydd mai ei fusnes Ef yw darparu ar gyfer ei Saint, ac Efe a wna i ni fel y gwnaeth o'r blaen yn ein hamser anghenog.

Gadawodd Colonel Steptoe a'i fyddin y lle hwn tua'r amser yr aeth y brawd Brigham a minnau tua'r gogledd. . . . Mae y Cenedloedd gan mwyaf wedi ein gadael, a theimlwn yn ddedwydd iawn, gwell fuasai genym gael gwared o honynt hwy pe bod heb fara, canys, os na fydd genym fara, nid ydynt yn debyg o ddyfod atom Fel y dywedais ac y dywedaf yn awr, gwell fyddai genyf weled fy nheulu yn ceibio gwreiddiau, a byw ar gig holl ddyddiau eu heinioes, a bod yn Saint, gwasanaethu eu Duw, a gosod sylfaen i etifeddu bywydau tragywyddol, nâ'u gweled yn cael digon a myned at y diafol, fel y mae llawer yn myned, y rhai nid ydynt wedi gwerthfawrogi eu bendithion; a gallaf ddywedyd mewn gwirionedd, William, o'r

holl bobl sydd yn byw ar y ddaear, y mae genym ni, Saint y Dyddiau Diweddaf sydd yn byw yn y mynyddoedd, yr achos mwyaf i fod yn ddiolchgar, oblegid ein bod wedi ein bendithio, canys yr ydym yn cynnyddu mewn meddiannau ac yn nghysuron bywyd, y maent fel pe yn ymarllwys arnom—llawer sydd yn eu gwerthfawrogi, a llawer nad ydynt: o'r holl bechodau o ba rai y gall dyn fod yn euog, y mwyaf yw y pechod o anniolchgarwch idd ein Duw, yr hwn sydd wedi ein bendithio â'r fath gyflawnder. Meddyliaf fod fy mab William yn gweled y pethau hyn yn eglurach yn awr nâ chyn i'w lygaid gael eu hagor i weled y newyn a'r tlodi yn yr hen fyd yna lle y triga yn awr.

Y mae fy nheulu i, a'r eiddoch chwi, yn gysurus, a chan ddynt dai gwychion, digon o wisgoedd cynhes, blawd càn a cheirch da, cloron, a gwyrdd-lysieu ereill, digon o laeth ac ymenyn, ac yn mhlith pobl dda sydd yn gwasanaethu eu Duw. Yr ydym oll mewn heddwch â'n gilydd—yr hyn nis gall y byd ddweyd, nac unrhyw ddwy sect na phlaid ar y ddaear; cynnydda ein hundeb yn feunyddiol, a gallwn gydnabod llaw ein Duw yn mhob peth, a gweled gwaith ei ddwylaw yn mhlith y cenedloedd.

Yr hydref diweddaf, wedi i Colonel Steptoe a'i fyddin ddod i mewn yma, gyda'r Barnwr Kinney, Mr. Holman, ac amryw ereill, gwnaethom â hwynt megys y dylid â boneddigion, a gwahoddasom hwynt i'n gwyliau a'n preswylfeydd, a phorthasom hwynt, a cheisasom wneuthur rhywbeth o honynt. Tra yn gwneuthur hyn, dechreuasant a chymmeryd rhyddid anweddaidd gyda'r benywod. Ryw amser yn Chwefror diweddaf, yr oedd y brawd Grant â minnau yn y cyfarfod; nid oedd y brawd Brigham yn bresennol o herwydd anhwyldeb. Cyfodais i lefaru, syrthiodd yr Ysbryd Glân arnaf, a llefarais fel y'm tueddwyd, dynoethais eu drygioni a'u gweithredoedd llygredig a ffiaidd yn ein plith, a digiasant.

Cefnogodd y brawd Jedediah fi—yr oedd cynddrwg â daeargryn iddynt. Yn flaenorol i hyn yr oeddem y dynion goreu sydd yn fyw, yr oeddynt wedi dweyd hyny yn y cyhoedd a'r dirgel; ac wedi hyny dywedasant nad oedd iselach sect o bobl nâ nyni, o'r Llywodraethwr i wared, ac yr oeddynt yn barod i gymmeryd ein bywydau. Dygwyd y drafferth hon arnom o

herwydd iddynt fyned dros ben y llestri gyda'r benywod; a rhai crach-ddiafliaid salw, a feddent yr enw o Saint, pa rai oeddynt hefyd, fel mae y gwaetha'r modd, ar lun dynion—y rhai a broffesent fod yn Saint, a ddaethant allan yn lled dŷn ar Jedediâh a minnau, gan feddwl nad oeddem yn iawn, a dywedent, pe byddai y Llywydd Young yn bresennol, y caffem gerydd ganddo, a dysgwyliasant i ni gael ein ceryddu pan y deuai allan. Pan y daeth allan, daeth heb gamsynied am dano, cefnogodd ein tystiolaeth, ac aeth yn mhell tuhwnt i ni. Gellwch benderfynu iddo ddwyn dystawrwydd a gwg mawr oddiwrth y rhai a'n beiodd. . . . . *Y mae y Barnwr Shaver yn foneddwr, wedi profi ei hun, cyn belled â hyn, yn ddyn da ; ac y mae yn meindio ei fusnes ei hun.* Efe yw yr eithriad o'r cyffredinolrwydd.

Cychwynodd yr Henuriaid Hyde, Heywood, a thua dwsin neu ychwaneg o genadon at Israel, tua Dyffryn Carson, er ys bythefnos yn ol.

[Yna rhodda hanes tua chant o genadon ereill hefyd, gyda eu gweddeuau, eu hanifeiliaid, ac anghenrheidiau ereill, a aethent i sefydlu yn mhlith gwahanol lwythau yr Indiaid, neu Israel, a dyweda,]—Y mae yr Indiaid yn mhob lle yr awn yn eithaf heddychlawn a chyfeillgar, ac yn fwy deallgar—y maent yn weithwyr da rhagorol. Y mae gan Kanoshe a'i wyr dyddyn da ar y Corn Creek, ac y mae yn byw mewn tŷ cryno. Aethom i'w weled ef. Daeth ef ac wyth neu ddeg o'i wyr gyda ni yn ol hyd Cedrwydd. Aeth mewn waggen a'i *squaw* gydag ef, fel y byddai yn debyg i'r Blaenoriaid mawrion. Pregethodd i'r Indiaid yn ninas Cedrwydd a Pharowan. Gadawodd yr Indiaid eu blaenoriaid yn y ddau le, o herwydd eu bod yn ddiog ac na weithient. Bu Arrapeen a'i lwyth i fyny yma,—efe yw y Blaenor yn lle Walker; y mae yr oll yn fwyn ac yn dda. Aeth Arrapeen i'r esgynlawr y Sul diweddaf, ac annogodd y Saint i wrandaw ar Brigham, cymmeryd ei gynghor, a gwneuthur fel y dywedai.

Bydd sylfaen y Deml hyd waelod y llofft isaf wedi ei chwblhau yn mhen tua bythefnos. Mae y gweithfeydd cyhoeddus yn myned yn mlaen yn hwylus. Y mae ail dŷ mawr y brawd Brigham yn agos yn barod, a llawer o welliadau yn myned yn mlaen yn y ddinas. . . . .

Pris y càn yma yn bresennol yw £1 5s, a'r gwenith yn 8s 4c y bwshel.

Yn awr dywedaf am bethau yn y teulu. Y mae eich mam yn mwynhau iechyd da iawn, ac y mae yn galonog iawn; felly y mae yr oll o'm gwragedd a'm plant, ac y maent mewn ysbryd da, ac y mae eu calonau a'u serchiadau yn dyfod yn osodedig ar bethau nefolaidd a chyssegredig, a gwnant y goreu a allant yn ol a wyddant. . . . . Am ein ceffylau, gwartheg, a defaid, y maent oll yn gwneuthur yn dda rhagorol; lle na fu ond 300 pwys o wlan, yr wyf eleni wedi cael 425 pwys. Yn agos gynnifer o ŵyn ag sydd o ddefaid eleni. Gallaf ddywedyd ein bod oll yn ymdaro yn dda, yn meddu cysuron bywyd, ac y mae hyn yn gyffredin yn mhlith y Saint yn y dyffrynoedd. Mae y brodyr llywyddol oll yn dda, ac yn anfon eu cofiant atoch.

Duw a'ch bendithio oll ag einioes, heddwch, llwyddiant, a bywydau tragywyddol, yn enw Iesu Grist. Amen.

Ydwyf, eich anwyl dad,

HEBER C. KIMBALL.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MEDI 15, 1855.

**NEWYDDION O UTAH.**—Yn mhlith y lliaws o newyddion dyddorol a ddaeth o Utah yn ddiweddar, nid oes nemawr ddim a gaiff fwy o sylw Golygyddion llygredig y byd, na nemawr ddim a darawa eu chwaeth yn well nâ'r difrodaeth a wneir gan y ceiliogod y rhedyn a'r locustiaid; ymffrostia rhai o honynt fod hyn yn farn Duw, ac yn sicr braidd o ddwyn "Mormoniaeth" i dranc truenusach nag a allodd ei holl elynion wneuthur drwy y byd; credant y gorfoda newyn i'r Saint i ymadael o Utah, i chwilio am ymborth; nad all yr Unol Daleithiau gludo ymborth cyn belled o ffordd i borthi dros 50,000 o bobl dros y

geuaf. Eithr er mor ofidus yw fod y Saint yn dyoddef y fath golled, da yw iddynt fod ganddynt Dduw gwell i ymorphwys arno, nag ar drugaredd y "Cristionogion" a'u halitudiasant o'u plith i drengu os gwnelent, ac fe'u siomir ni os na throa y rhôd ar ol hyn, fel nad Joseph alltudiedig a aeth yn ol i Gaanan, ond mai ei alltudwyr a orfuwyd gan newyn i ddyfod ato ef am ymborth. Os nad felly y bydd, etto, er dued y cymylau presennol, nid ydym yn gwybod dim am fwriadau Duw tuag at ei blant nâ'r byd! Ni wel llygaid Golygyddion a Pheirch y byd i amcanion Duw, ond cyn belled ag y neidia ceiliog y rhedyn; er bỳred ei gam ef, nid llai yw nâ golwg bỳr doethion y byd. Cofus gan y Saint i Dduw ddweyd mai ei fusnes Ef yw gofalu dros ei blant, ac Efe a'i gwna yn well nag y gallant hwy wneyd drostynt eu hunain, os ufyddhant i'w orchymynion Ef. Efe a'u galwodd yno, Efe a'u gosododd ar waith i adeiladu Seion a'i themlau, ac mor sicr â hyny Efe a'u portha hefyd, nad pa fodd y bydd hyny. Da genym ddeall fod y Saint yn ddigon ffyddiog i ddysgwyl am iachawdwriaeth yr Arglwydd yn y cyfyngder hwn etto, fel Israel gynt. Os y farn a ddechreua o du Dduw, pa le y saif yr annuwiol a'r pechadur?

Hysbysir ni drwy newyddion diweddarach fod y gwaelanod y môr wedi dyfod yn gymylau yno etto ar ol ceiliogod y rhedyn, fel yn y tymmor cyntaf o'u sefydliad yno, a gwylied ein gwawdwyr yn ein cyfyngder rhag i adar y nef brofi eu hunain yn fwy trugarog ac ysbrydoledig nâ hwynt. Ond hyn sydd hysbys, fod hyn fel yr oll, yn brawf o ffydd y ffyddloniaid; ac er yr arswyda rai rhag ymgasglu yno yn ol gair yr Arglwydd, etto ni syfla hyna y pur o galon, fel ag i'w droi o'r ffordd rhag myned yno.

---

NEWYDDION TRAMOR.—O'r "*Luminary*, am y 14 o Orphenaf, lloffwn a ganlyn:—Fod yr Anrhydeddus Orson Hyde, (yr hwn yr haerai Golygyddion y Taleithiau ei fod yn St. Louis ar yr un amser yn chwilio am ddeg o wragedd newyddion.) ynghyd a'r Anrhyd. G. P. Stiles a J. L. Heywood, wedi myned o Dd. Ll. H. Mawr i Ddyffryn Carson, i sefydlu Swydd newydd yn y Diriogaeth. Mae ein parchus frawd, y Golygydd, wedi myned i'r Dyffryn, gan fwriadu dychwelyd cyn y geuaf, ac wedi ymddiried y *Luminary* i Olygyddiaeth alluog ein hanwyl frawd

Orson Spencer; fod yr Henuriad J. T. Bell, llywydd diweddar y genadiaeth yn Môr y canoldir, a'i wraig, wedi marw yn y gwersyll ar eu ffordd i Seion; fod yr Henuriad Sechrist, llywydd y gwersyll, wedi marw drwy ofer-weithio ei hun yn chwilio am anifeiliaid y gwersyll a aethent ar ffô. Mae gwersylloedd y Saint wedi bod yn weddol iach hyd yn hyn, oddieithr ychydig o'r Cholera, yr hwn a gymmerodd ymaith amryw o'r Saint o Texas, ag oeddynt yn ngwersyll y Llywydd Blair. Ni aflonyddodd yr Iodiaid neb o honynt hyd yn hyny. Mae John F, Flourney wedi deisebu senedd Talaeth Georgia i ganiatâu Amlwreigiaeth; eithr ni ddeallwn pa lwyddiant a gafodd. Y mae llwyddiant mawr wedi dilyn ymfudiad y Saint hyd y ffordd newydd eleni hyd St. Louis; o blith tua 1,200 a ymfudasant ar fwrdd y ddwy long y "Juventa" a'r "S. Curling," ni bu un farw ar fôr na thir hyd St. Louis, yr hyn, mewn gwrthgyferbyniad i'r marwolaethau mynych a gymmerai le yn mhlith pob ymfudwyr ereill ond Saint, oedd yn achos o lawer o syndod drwy'r Taleithiau, ac yn cael ei godi i'r gwynt gan y newyddiaduron yn gyffredinol.

O'r "*Mormon*" am yr 28ain o'r mis blaenorol, lloffwn:—Fod holl wersylloedd y Saint, oddieithr dau neu dri, wedi cychwyn eu ffordd o'r gwersyllfan, sef Atchison, cyn yr 8fed; y cychwynai y lleill yn mhen tri neu bedwar diwrnod, ac y cludent gyda hwynt beiriannau agerfad, yr hon a wna y Llywydd B. Young i hwylio ar y Llyn Halen Mawr; yr oedd ein parchus Lywydd Daniel Spencer yno yn iach ar y pryd hyny: yr Arglwydd a'i bendithio ac a'i dychwelo yn ol yn iach ac yn fuan. Cawsai y Saint sydd yn llafurio tyddyn y D. Y. Barhaus, yn Mormon Grove ger Atchison, a'r Saint ereill sy'n ymgasglu yno i ymbarotoi i fyned yn mlaen yn y flwyddyn nesaf, gryn wledd ac amser hyfryd; hiliasant eu byrddau oll â danteithion cynnyrchiol o'r tyddyn ei hunan, yr hwn oedd yn hynod o ffrwythlon a gobeithiol i gynnorthwyo y Saint tlodion yn y dyfodol. Mae llwyddiant cyffredinol yn dilyn ymdrechiadau yr Henuriaid sydd yn teithio drwy'r America, o Canada hyd Texas, a llawer o'r hen Saint ag oeddynt wedi myned i gysgu yn ymddeffroi ac yn ymbarotoi i fyned adref i Seion; tiriasai yr Henuriad G. Q. Canon yn San Francisco gyda bwriad i Arolygu y wasg yno dan Olygyddiaeth P. P. Pratt, ac i gy-

hoeddi Llyfr Mormon yn yr Hawai-aeg. Dywedir fod y Saint yn sefydliad San Bernardino wedi darganfod helaethrwydd o aur yn y mynyddoedd cyfagos iddynt; eithr hyderwn mai mwn haiarn, plwm, glô, neu'r cyffelyb yw, rhag sugn-dynu addolwyr y "duw melyn" yno i lygru eu mhoesau hwynt, a throi eu paradwys yn uffern iddynt. Mae y Saint wedi gwneuthur sefydliad newydd ar ddyffrynoedd y Vegas, rhwng eu sefydliadau mwyaf deheuol yn y Basin Mawr a San Bernardino, ger yr afon Rio Virgin, nid neppell o'i harllwysiad i'r afon fordwyol Colorado. Dywedir na wrthodasai y Col. Steptoe Lywyddiaeth Utah, eithr ei fod wedi anfon i Washington y cymmerai y swydd os caffai ei le yn ei fyddin wedi gwasanaethu ei amser yn y swydd hono, a dysgwylid atebiad buan yn ol. Mae y chwyldroad yn Mexico yn ffyrnigo, a darpariadau prysur yn cael eu gwneuthur ar yr afon Rio Grande, &c., i gyssylltu tair talaeth yn un werin lywodraeth, a dyfod i gyfundeb y Taleithiau Americanaidd. Mae ymgasgl-fan newydd y Saint ar Ynysoedd môr y deheu yn bur llwyddiannus, a'r brodorion o'r gwahanol ynysoedd cylchynol yn dyfod yno yn ewyllysgar i lafurio o dan arolygiaeth y brodyr Americanaidd.

---

## YMDDYDDAN RHWNG SECTYDDWR, MORMONIAD, AC ANFFYDDIWR.

[Parhad o dud. 135.]

*Mormoniad.*—Nid oes ammheuaeth ynwyf na foddlonwch chwi, Mr. Sectyddwr, i drefn y Testament Newydd er profi dwyfoldeb crefydd.

*Sectyddwr.*—Gwnaf, canys y rheol anffaeledig yna a'm hysbysa ddarfod i lawer gredu yn Nghrist pan *welsant* ei wyrthiau, ond gwell yw genyf gael clywed pa fodd y mae cael prawf o ddwyfoldeb eich crefydd yn nghyntaf, cyn dadleu ychwaneg fel yna.

*M.*—Gwell yw genyf innau ddangos yr iawn a'r unig ffordd, nag ymdrafferthu yn awr i brofi nad dyben Duw yn cyflawni gwyrthiau oedd er argyhoeddi dynion i gredu ei air, er y dylasai cerydd Crist i arwydd-geiswyr, a'r ffaith o'u hanghrediniaeth yn y gwyrthiau a welent, brofi y pwnc yn eglur, neu brofi

fod Duw wedi cael ei siomi yn ei ddysgwyliad. Gorfoda eich gwadiad o'r olaf i gredu y blaenaf; ond, gan y gwnaed arwyddion a rhyfeddodau gau, &c., ymddengys i mi mai y ffordd gywiraf i ddyfod i *wybodaeth* o wirionedd yr athrawiaeth yw drwy gredu tystiolaeth gweision Duw, ufyddhau i'w cenadwri, a chael mwynhâd o ddawn yr Ysbryd Glân, yr hwn yn unig a'ch galluoga i iawn farnu pethau dwyfol, trwy yr hwn y dadguddia Duw hwynt, ac heb yr hwn nis gall neb farnu pethau Duw, canys dywed Paul, "Pethau Duw nid edwyn neb, ond Ysbryd Duw," ac felly gwna y sawl a wrthoda grefydd a addawa hyn, heb ei phrofi, gam a'i enaid ei hun, gwelwch.

*S.*—A ydych chwi am ddangos nad all neb farnu pa un a yw eich crefydd yn ddwyfol ai peidio heb ufyddhau i'w gofynion yn nghyntaf? Er nad wyf fi yn credu fod neb yn gwybod fod eu crefydd yn ddwyfol, nac ychwaith y fod Duw yn rhoddi dadguddiadau, eithr fod yr hyn sydd yn yr ysgrythyrau santaidd yn ddigon.

*M.*—"Pethau Duw nid edwyn *neb* ond Ysbryd Duw."

*S.*—Ië, siwr, neb dynion, *neb* arall ond Ysbryd Duw.

*M.*—"A nyni a dderbyniasom, nid ysbryd y byd, ond yr Ysbryd sydd o Dduw, fel y *gwypom* y pethau a râd-roddwyd i ni gan Duw." Y rhai a feddant Ysbryd Duw sydd yn adnabod pethau Duw, ac ni ddichon neb arall.

*S.*—Wel, yr wyf yn gobeithio fod Ysbryd Duw genyf fi, er gwaeled ydwyf—liwch y llawr: ac os ydyw, yr wyf yn addas i farnu pethau dwyfol.

*M.*—Mae eich gwadiad blaenorol o ddadguddiad presennol yn profi i'r gwrthwyneb, canys trwy fod Duw wedi dadguddio trwy ei Ysbryd yr adnabyddodd ei blant yr hyn oedd o hono Ef; megys yr adnabyddodd Pedr mai Crist oedd Mab y Duw byw,—"Gwyn dy fyd di Simon mab Jonna, canys nid cig a gwaed a *ddadguddiodd* hyn i ti, ond fy Nhad yr Hwn sydd yn y nefoedd." Pa beth a ddywed Paul?—Duw a'u hegluroddd neu a'u dadguddiodd i ni drwy ei Ysbryd. Gwyn dy fyd di Simon ynte, canys nid wrth *weled* gwyrth yr adnabyddaist ei Fab Ef Iesu Grist, yr hyn yw y bywyd tragywyddol, ond trwy ddawn Duw, sef yr Ysbryd Glân, trwy yr hwn y dadguddiwyd pethau dwyfol i'r Corinthiaid hefyd. Prawf arall mai trwy gredu gair Duw ac ufyddhau iddo yw yr unig ffordd i *wybod* ac i *farnu*

pethau Duw yw y ffaith o fod "ffydd yn dyfod drwy glywed [ac nid drwy *weled*], a chlywed drwy air Duw," a hyny drwy bregethwr anfonedig, canys "pa fodd y pregethant onis danfonir hwynt." Y ffordd i adnabod pwy a anfonwyd gan Dduw yw cofio na ddanfonodd Duw un gwas i'r byd heb roddi gwybod iddo pa air i bregethu, a dywedyd "Fel hyn y dywed yr Arglwydd," nac heb brofi ei air yn wirioneddol i'w ufydditn.

*S.*—Y mae modd i wybod ynte, eithr oni ellir gwybod cyn ufyddhau?

*M.*—"Nyni a dderbyniasom yr Ysbryd, &c., fel y GWYPOM." Nid gwybod cyn derbyn Ysbryd Duw, sef Ysbryd doethineb a dadguddiad (Eph. i, 17), yr hwn a wadwch chwi, ac ni ellir derbyn Ysbryd Duw ond trwy ryngu bodd Duw, drwy ffydd, wedi dyfod drwy glywed; o ganlyniad ni ellwch wybod cyn derbyn Ysbryd y dadguddiad, na derbyn hwnw cyn credu gair Duw drwy ei weision, ac ufyddhau iddo.

*S.*—Yn mha gyflwr y dywedwch fy mod i ynte os yn amddifad o'r cyfryw Ysbryd?

***M.***—Yn ddyn anianol, neu anysbrydoledig; ac y mae yr apostol yn dywedyd, "Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw: canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt." Onid troseddu rheol Duw fyddai ceisio argyhoeddi dyn trwy weled tra y dywed Efe yn maenllaw mai ffolineb fyddant ganddo; ac onid ynfydrwydd fyddai, gan *nas gallai* efe eu gwybod hwynt, sef pethau Duw?

*S.*—Y mae yn wir fod hyna yn ysgrythyr, eithr gosodwch eich hunain goruwch eich barnu, pa un a ydych yn iawn ai peidio heb ufyddhau i chwi.

*M.*—Gwnawn, canys yr hwn sydd ysbrydol sydd yn barnu pob peth, ac efe *nis* bernir gan neb anianol.

*S.*—Wel, cawn siarad etto, rhaid i mi chwilio mwy i'r pwnc, ac iawn drefnu rhai gofyniadau sydd ar fy meddwl.

*Barnwr.*—Byddai yn dda genyf innau glywed chwaneg am Dduw sydd yn rhoddi dadguddiad, ond nid oes un tir i wrthwynebu cynnygiad teg ein cyfaill Mormonaidd. Dydd da i chwi hyd oni chwrddwn etto.

*Abertawy.* WM. LEWIS.

## CYFLAFAN SEBASTOPOL!

(Gellir ei chanu ar y dôn "DIFYRWCH GWYR HARLECH.")

OCH! o'r cynhwrf a'r rhyfeloedd,
Sydd yn Rwsia a'i hardaloedd,
Lleddir dynion wrth y miloedd,
Yn Sebastopol.
Byddinoedd Lloegr, Ffrainc, a Thwrci,
Sydd yn awr yn cynddeiriogi,
Ac yn taflu tanllyd beli,
I Sebastopol.
Gwaeddi mawr sy'n canlyn,
A'r bobl oll mewn dychryn;
Rhoi tai ar dân, a'r plantos mân
Yn meirw yn gyflafan:
Och! o'r gâlar mawr a'r gwaeddi,
Glywir gan eu hoff rieni,—
Maent mewn cystudd a thrueni,
Yn Sebastopol.

Methant gysgu gan eu hofnau,
Arswyd brâd ar ol y brwydrau,
Ofnant gael eu gwneyd yn ddarnau,
Yn Sebastopol;
Pell y clywir sŵn eu llefau,
Gan mor dost y mae eu clwyfau,—
Collodd miloedd eu haelodau,
Yn Sebastopol:
Yno gwelir mamau,
'N wylo yn eu drysau,
Gan deimlo'n ddwys fod barn o bwys,
Yn lladd eu perthynasau:
Teimlant fod eu hoff gyfeillion,
Wedi eu lladd gan eu gelynion,—
Wylant beunydd yn hiraethlon,
Yn Sebastopol.

Y mae'r haint yn lladd ei filoedd,
Yn ngwlad Rwsia a'i hardaloedd,—
Rhynant hefyd gan oerfeloedd,
Ger Sebastopol.

Gwrthddrych sylw, yr holl bobloedd,
Dinas twrf yr holl genedloedd.
Trigfa 'sbrydion blin ryfeloedd,
Yw Sebastopol;
Ffynnonell y gofidion,
O honi tardd arwyddion,
Fod digter Duw ar ddynolryw,
Am wrthod byw yn uniawn;
O, na wyddai yr holl bobloedd,
Mai arwyddion Duw y nefoedd,
Ydyw Rwsia a'i rhyfeloedd,
Yn Sebastopol.

*Fflint.* THOMAS CONWAY.

---

TALIADAU AT DDYLED CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG, O AWST 24 HYD MEDI 10.

| | | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|---|
| 1. | Thomas Richards, Aberafon . . . | 0 | 2 | 6 |
| 2. | Mary Richards, ei wraig . . . | 0 | 2 | 6 |
| 3. | Ann Llywelyn, Abercenffig . . . | 0 | 0 | 6 |
| 4. | William Llywelyn, etto . . . | 0 | 0 | 6 |
| 5. | Mary Basett, Cwmafon . . . | 0 | 2 | 6 |
| 6. | William Hanwering, etto . . . | 0 | 5 | 0 |
| 7. | Hopkin Jones, Treforris . . . | 0 | 15 | 0 |
| 8. | Gwenllian Jones, ei wraig . . . | 0 | 8 | 0 |
| 9. | John Perkins, Llansamlet . . . | 0 | 10 | 0 |
| 10. | Thomas Fisher, Abertawy (Seisnig) | 0 | 7 | 6 |
| 11. | Edwin Fisher, ei fab . . . | 0 | 2 | 6 |
| 12. | Elizabeth Llywelyn, Wig . . . | 0 | 2 | 6 |
| | | £2 | 19 | 0 |

D.S. Mae rhai ereill wedi talu cyfran, eithr ni chydnabyddir hwynt drwy yr UDGORN, hyd oni chyflawnant eu haddewidion.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

NEWYDDION O EWROP I'R AMERIC MEWN CHWE' DIWRNOD. —Darperir porthladd St. John, Newfoundland, i dderbyn yr agerfadau a gludant y llythyrau, o'r hwn le y gallant anfon newyddion gyda y Telegraph o fewn chwe' diwrnod i'w cyrh-

wyniad o'r porthladdoedd hyn. Yn nechreu 1858 bwriedir gwneyd hyny mewn cyn lleied o fynydau braidd!

BRWYDR TCHERNAYA,—A ymladdwyd, Mehefin yr 16eg, ar y lle uchod, gerllaw Sebastopol. Yr oedd y byddinoedd unol wedi parotoi yn gryf ar gyfer y gelyn, yr hwn a ddysgwylient yn ddyddiol, a'r hwn a ddaeth ac a gafodd dderbyniad cynhes gan y lluoedd a sefydlid gerllaw y bont ac ar benau y bryniau cyfagos. Nid hir y buwyd cyn y clwyfwyd 8,500 o'r Rwsiaid, o ba rai y gadawsant 3,000 yn feirw ar y maes.

SEBASTOPOL WEDI EI HENNILL.—Drwy newyddion a ddaethant gyda'r *Electric Telegraph*, dyddiedig Medi 9, hysbysir ni y fod tref Sebastopol yn meddiant y byddinoedd unol; fod y Rwsiaid wedi dianc i ochr ogleddol y porthladd, ac fod eu holl longau wedi cael eu dinystrio, oddieithr ychydig agerdd-longau a ddefnyddient yn eu ffoedigaeth.—Os gwir yw hyn, fel y mae yn o debyg, er nad yw newyddion ehedawg yr Hysbysydd Trydanawl wedi hysbysu y gwir bob amser, gellir penderfynu y fod aberth fawr wedi cael ei gwneuthur,—y fod gwaed dynolion wedi ffrydio yn llif, a thalu yn ddrud am Sebastopol. Hawdd y gellir penderfynu hyn pan gofiom am yr ymosodiad aflwyddiannus hwnw ar y Malakhoff a'r Redan, prif amddiffynfeydd tref Sebastopol, pan y medwyd catrawdau cyfain i lawr gan y cenadon marwolaeth a ddanfonasid o fagnelau y gelyn.

---

CYMMANFAOEDD Y DEAU.—Dwyreiniol Morganwg ar y 30ain o Fedi, Brycheiniog ar y 7fed o Hydref, Mynwy ar y 14eg, Gorllewin Morganwg ar yr 21ain, Llanelli ar yr 28ain, Caerfyrddin ar 4ydd o Dachwedd, Sir Aberteifi ar yr 11eg, Gogledd Penfro ar y 18fed, a Deau Penfro ar y 25ain.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O AWST 18 HYD MEDI 6.—Wm. Lewis, Môn, £1; Ben. Jones, £2 4s 3c; Lewis Davies, £2 10s; Griffith Roberts, £3 0s 7½c.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones*, "*Udgorn Seion*" *Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 20.] MEDI 29, 1855. [CYF. VIII.

### ARAETH Y LLYWYDD J. M. GRANT,

*A draddodwyd yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Mawr, Mawrth 11, 1855.*

YR wyf yn ddiolchgar am y bendithion a welodd yr Arglwydd fod yn dda i anrhegu y bobl yma â hwynt. Os nad wyf yn y cyhoedd bob amser yn mynegu fy niolchgarwch i'n Tad nefol, etto teimlwyf yn ddiolchgar am ei holl gymmwynasau, pa un a wyf yn mynegu hyny ai peidio. Y mae genyf reswm i gredu fod yr holl bobl yn teimlo yr un fath, h.y., pawb a deimlant yn iawn, pawb Saint, neu bawb sydd yn byw yn unol a'r grefydd a broffesant.

Derbyniasom lawer o dystiolaethau o ddaioni Duw, ein Tad nefol, mewn cystudd ac mewn iechyd; atebodd ein gweddiau, a diwallodd ein hanghenrheidiau; mewn trallod y gweinyddodd i ni gysur; a phan y mae goleuni ei Ysbryd arnom, canfyddwn driniaeth yr Arglwydd yn eglur, ond tra y mae yr Ysbryd hwnw yn absennol oddiwrthym, ni chanfyddwn mor eglur ei drugareddau a'i fendithion sydd yn dywalltedig arnom yn bersonol, ac fel pobl. Mae yn debyg genyf y fod Duw yn nhrefn ei Ragluniaethau wedi ei ystyried yn anghenrheidiol ar brydiau, i adael ei blant yn unig, heb unrhyw gynnorthwy neillduol gan ei Ysbryd Glân, fel y dysgont i'w ganfod a'i werthfawrogi pan ei tywelltir arnynt.

Er enghraifft, nid ydych yn gwerthfawrogi y bendithion a

fwynhewch yn ddyddiol am wythnos, mis, neu flwyddyn, gymmaint â'r bendithion achlysurol a dderbyniwch. Amddifadwch ddyn o unrhyw ran o'i gynnaliaeth, hyd y nod y bara a fwynhewch yn awr, a chadwch ef oddiwrtho am wythnos, mis, neu flwyddyn, a phan ei derbynid ganddo wedy'n, fe werthfawrogir llawer arno. Felly y mae i raddau gydag Ysbryd yr Arglwydd; nid ydym yn ei fwynhau bob amser; nid ydym yn ei dderbyn ar holl amgylchiadau bywyd fel yr ydym mewn rhyw sefyllfa neillduol yn mha un ein gosodir, a lle y mae arnom anghen neillduol am Ysbryd yr Arglwydd idd ein cynnorthwyo.

Gweddiwn am lawer o bethau; ac yr wyf wedi clywed rhai pobl yn gweddio yn y fath fodd ag y byddai yn ddrwg iawn ganddynt, pan yn eu pwyll, pe yr atebai yr Arglwydd eu gweddiau yn llythyrenol. Pe yr ysgrifenid gweddiau y bobl fel ag y gallent eu darllen, ac adfyfyrio arnynt, mae yn ddiau genyf y dymunent argraffiad newydd. Yr wyf wedi clywed pobl yn gweddio ar i'r Arglwydd wneuthur hyn-yma neu hynacw; mewn gwirionedd yr wyf wedi eu clywed yn gweddio arno i wneuthur mil o bethau na chynnygient wneuthur eu hunain; ystyrient yn bechadurus iddynt geisio cyflawni yr hyn a geisiant gan yr Hollalluog ei gyflawni iddynt.

Fe ddylai gweithredoedd dyn gyd-fyned â'i ffydd; os oes ganddo ffydd a gefnoga ei eirian a'i weithredoedd, fe ddylai ei weithredoedd gyd-fyned â'i ffydd. Mae yn ofynol i mi fod yn iawn yn fy ffydd cyn y byddwyf yn iawn yn fy ngweithredoedd. Os chwerw y pren, chwerw fydd y ffrwyth hefyd; neu mewn geiriau ereill, adnabyddir y pren wrth ei ffrwythau, a ffydd wrth ei gweithredoedd. Os mai da fydd gweithredoedd dyn, daionus ei ffydd hefyd; os drwg ei weithredoedd, casglwn mai tlawd ei ffydd hefyd, a chasgliadau digon priodol ydynt hefyd. Dylid barnu pawb dynion wrth eu gweithredoedd; dyma safon gywir er profi pob dyn. Y mae gan lawer o Saint y Dyddiau Diweddaf ffydd gywir, a gweithredoedd cyferbyniol, tra yr hòna rhai fod ganddynt ffydd gywir, eithr a ddangosant yn amgen drwy eu gweithredoedd. Pa fodd y gallaf fi farnu pa un a yw eich ffydd chwi yn dda ai peidio? Nis gallaf ei farnu ond wrth eich gweithredoedd. Os yw eich gweithredoedd yn dda, ac yn unol â chyfraith Duw, â Llyfr Mormon, â Llyfr

yr Athrawiaeth a Chyfammodau, ac â rheolau cyfiawnder y mae genyf hawl i gasglu fod eich ffydd wedi achosi y gweithredoedd a welwyf; y fod y pren, os goddefwch yr ymadrodd, o ba un y tyfasant yn dda. Eithr pan y gwelwn weithredoedd dyn yn amrywio â thipyn weithiau o ddaioni heddyw, ac y fory, ac ar y trydydd dydd feallai y cyflawna ddrygioni; credu fod y dyn hwnw yn gywir ei ffydd, yn mhob ystyr o'r gair, nis gallaf.

Llefarwn am ffydd fel egwyddor gyntaf ein crefydd. Os mai yr egwyddor gyntaf ydyw, y mae egwyddorion ereill yn tyfu o honi. Nis gallwn greu egwyddor, ni allwn ond ei darganfod. Pe darganfyddech yr hyn a elwir yn egwyddor newydd, cyfeiliornech pe dywedech mai ei chreu a wnaethoch, neu eich bod wedi dwyn egwyddor newydd i fodoldeb. Bodola egwyddor yn dragywyddol, ac nis gall dyn ei chreu. Os canfyddwch unrhyw gyfraith newydd mewn mesuryddiaeth, mewn seryddiaeth, neu unrhyw gyfraith gyssylltiedig â'r celfyddydau, nid yw hyny yn un prawf eich bod wedi dwyn i fodoldeb gyfraith newydd, neu lwybr cyfraith, canys bodolodd yr egwyddor cyn i chwi wneuthur y darganfyddiad.

Y mae y gyneddf ynom i ddarganfod pethau newyddion, ac i ddysgu a deall egwyddorion cyntaf athrawiaeth Crist. Ffydd, drwy fod yn egwyddor gyntaf ein crefydd, a sefydlir yn y meddwl drwy glywed, gan brawfiadau, a thrwy dystiolaeth.

Nis gallaf gredu yr oll a ddymunai fy nghymydog i mi gredu ynddo, nis gall fy nghrediniaeth foddhau fy nghymydog bob amser, tra na fydd genyf brawfiadau, fe ddichon, i gredu fel efe. Nid oes genyf dystiolaeth o dderbyn yr hyn a dderbyniodd efe, ac yr wyf yn ei wrthod. Anfoddlonir fy nghymydog wedy'n, hyd oni eilw arnaf i feddu ffydd i gredu yr un peth ag yntau. Pe y rhoddai efe brawfiadau a thystiolaethau digonol i mi allu sylfaenu fy ffydd arno, i greu ymddiried ynwyf, neu sefydlu ffydd yn fy meddwl, yna gallwn gredu fel efe. Y mae ffydd ynte yn dyfod drwy glywed tystiolaeth, neu drwy fod tystiolaeth yn cael ei rhoddi, neu ei dwyn gerbron y meddwl.

Mae y dystiolaeth a dderbyniasoch am y grefydd a broffeswch mor hollol wahanol ag yw y grefydd a broffeswch i unrhyw grefydd arall. Mae y Methodistyn, er enghraifft, yn sylfaenu ei grefydd ar yr hyn a dystiolaethir wrtho; dysgir ef gan y

gweinidog, y pregethwr teithiol, y pregethwr cynorthwyol, athraw yr ysgol, y cynghorydd, neu gan rai o'r aelodau lleyg, yn rhai egwyddorion, neu mewn geiriau ereill, rhoddir tystiolaeth i'w argyhoeddi fod yr egwyddorion hyn neu acw yn iawn, a sylfaenir ei grediniaeth ar y dystiolaeth y mae efe yn alluog i'w derbyn a'i synied. Mae eu ffydd yn cyd-fyned mwy neu lai â'u dyscyblaeth, neu erthyglau eu ffydd; credant nad oes ond un Duw anfeidrol, tragywyddol, o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb, heb gorff, rhanau, na nwydau. Ni cheir eu tystiolaeth, neu eu profion o hyn, ond yn eu credöau a'u traddodiadau, ac y mae y rhai hyny wedi eu trosglwyddo i wared o dad i fab, oddiwrth eu mhamgu. Eglwys Rhufain, idd eu mham, Eglwys Loegr, credant hwy yn ddiddadl, ac ysgrifenant a chyhoeddant hyny ar led.

Gallem nodi eu dulliau o danelli, arllwys, a gweithredoedd ereill sydd yn unol â'u credo. Pe y credent mai y ffordd iawn ydyw trochi dyn yn ddieithriad dysgent ef felly, neu i gael bedydd arllwysiad, dysgent ef hyny; neu y dylasid taenellu dyn er cyfateb â gofyniadau y netoedd, dysgent ef hyny hefyd. Felly y gwelech y byddai eu gweithredoedd yn unol â'u ffydd; pe na fyddai ganddynt ffydd, ni chredent mewn na throchiad, taenelliad, nac arllwysiad. Os bydd un yn grediniwr mewn trochiad efe a'i hymarfera, cyduna ei weithredoedd â'i ffydd, ac efe a â allan ac a drochir. Pa fodd y gwyddoch mai mewn bedydd trochiad y creda efe? Wrth ei weithredoedd. Pa brawf sydd genych fod y cyfryw un yn credu mewn trochiad? 'Onid oeddwn i yn bresennol,' meddai fy mrawd, 'pan ei trochwyd; clywais ef yn dweyd wrth yr henuriad, neu yr offeiriad, ei fod yn gofyn trochiad ganddo, ac efe a aeth allan ac a gefnogodd ei ffydd drwy ei weithredoedd.' Byddai hyn yn ymresymu teg. 'Ond,' meddai un, 'yr wyf i yn credu mewn arllwysiad dwfr ar fy mhen.' Pa fodd y gwyddoch chwi ei fod yn credu hyn? 'Yr oeddwn i yn bresennol, a chlywais ef yn gofyn i'r offeiriad, neu yr henuriad, i arllwys dwfr arno, ac fe wnaeth yr offeiriad yn ol ei ddymuniad, a phrofai ei weithredoedd i mi ei fod yn credu mewn arllwysiad.'

Dywed un arall wrth yr offeiriad, 'Yr wyf am i chwi fy nhaenellu i, gofynaf hyn o herwydd fy mod yn credu mai taenellu yw y ffordd oreu.' Pa brawf sydd genych fod y dyn

hwn yn credu mewn taenellu? Y mae ei weithredoedd yn profi hyny. Mae y ffaith o'ch bod chwi yn bresennol, ac yn ei weled ef yn cael ei daenellu, neu yn ei glywed ef yn gofyn am weinyddiad o'r drefn yn eich argyhoeddi y fod ganddo ryw fath neu rywiogaeth o ffydd. A ydyw yr un ffydd gan bawb? Nac ydyw, ac y mae eu gweithredoedd mor amrywiol â'u ffyddiau. Os oes gwahanol fathau o ffyddiau, rhaid fod gwahanol fathau o weithredoedd.

Os nad oes ond un ffydd, ni all ond un math o fedydd fod. Haera Dr. Clark yn bendant i'r Collossiaid gael eu claddu gyda Christ mewn bedydd, h y., trochwyd hwy yn llythyrenol. Dyweda efe fod y Testament Groeg yn darllen iddynt gael eu trochi, eu suddo, eu claddu,—iddynt gael eu cuddio. Pa fodd y gwyddoch ddim ynghylch y Collossiaid? Pa fath ymresymu wnelech, idd eich dwyn i benderfyniad mai mewn trochiad y credai y Collossiaid fel yr unig ddull? Iddynt gael eu claddu yn llythyrenol mewn dwfr? Etto, os ymholwch pa un a daenellwyd y Corinthiaid ai peidio, pa fodd yr adnabyddech eu ffydd? Meddai un, 'Adnabyddwn hi wrth eu gweithredoedd, canys mi a wn y cydunai eu gweithredoedd â'u ffydd. A phe gweinyddid yr ordinhâd i'r Ephesiaid drwy arllwysiad, caffwn wybod hyny wrth eu gweithredoedd.' Pa beth mae y Beibl yn ddywedyd wrthych? Y fod un ffydd, un Arglwydd, ac un bedydd.

Pe meddai y Pabyddion yr un ffydd hono ag oedd gan y Collossiaid, a allent hwy arllwys neu daenellu? Na allent wrth bob rheswm. Os dywedwch fod un rhan o bobl Dduw wedi cael arllwysiad, rhan arall daenelliad, ac un arall drochiad, dechreuwch au-grefydd ac athrawiaeth afiachus, ac yna dilyna gwahanol weithredoedd. Cyn gynted ag y cewch y Collossiaid wedi eu trochi, y Corinthiaid gael arllwysiaid arnynt, a'r Ephesiaid eu taenellu, rhoddwch dri math o orchwyl. Eithr os oes un ffydd, a bod y iawn fath o ffydd ganddynt oll, os cyrhaeddasant oll i'r un ffydd werthfawr a ymddiriedwyd i'r Saint, a bod un rhan wedi eu trochi, yna, fe drochwyd y gweddill hefyd. Os gellir sefydlu y ffaith o fod un rhan o'r Eglwys Gristionogol wedi eu trochi, sefydla y ffaith, tubwnt i ammheuaeth, o fod y lleill i gyd wedi cael gweinyddu arnynt yn yr un dull. Y mae pobl Dduw dan yr anghenrheidrwydd o feddu yr un ffydd werthfawr, a byddai yn rhaid i'w gweithredoedd hefyd gyduno.

Os oedd Dr. Clark yn iawn yn hyn, ac nid oes genyf ddim rheswm a ammheua yr athraw dysgedig, sef, fod y Collossiaid wedi eu trochi, fe drochwyd y gweddill o bobl Dduw yn yr holl Eglwys gyntefig hefyd. Os na feddent ond yr un ffydd, anmhosibl fyddai dechreu arllwys a thaenellu. Os dechreuwch yr arllwysiad, ffydd arllwysiad oedd ganddynt, os y taenelliad, ffydd y taenelliad hefyd. Eithr os profwch y fod un ran wedi eu trochi, profwch y fod ganddynt yr un ffydd werthfawr, ac o anghenrhaid fe drochwyd y lleil'. Fel yma yr wyf i yn ymresymu ar y pwnc.

Etto, os trochwyd hwy, fe'u cadarnhauwyd drwy osodiad dwylaw, fel y dysgwch wrth yr un ysgrythyrau. Os credai y saint cyntefig fod yn anghenrheidiol i osod dwylaw, a Saint y Dyddiau Diweddaf nad ydyw, pa fodd y gwnelech i'ch ffydd gyduno â'r eiddynt hwythau? Pa fodd y gallech chwi ddechreu athrawiaeth a rhesymeg newydd, a chymmodi eich ffydd â'r eiddynt hwythau? Credent hwy yn llythyrenol mewn gosodiad dwylaw, wrth gadarnhau, er derbyn dawn yr Ysbryd Glân.

Mae y Methodistiaid, y Bedyddwyr, y Presbyteriaid, Eglwys Loegr, oll yn credu mai dyna oedd arferiad y saint cyntefig. Cyduna pawb a gredant yn y Beibl mai dyna oedd ffydd yr henafiaid, fel yr amlygwyd yn eu gweithredoedd, felly os oes un o'n cyd-oesol Gristionogion yn ei wrthod, y mae genym le i haeru fod eu ffydd yn adnabyddus wrth eu gweithredoedd. Y mae genym hawl i ddweyd nad yw eu ffydd yn cyduno â ffydd yr henafiaid. Ond y mae fy ffydd i yn cyduno ag eiddo yr henafiaid, yr wyf yn credu a chyflawni yr un gweithredoedd ag a wnaethant hwythau. Yr wyf yn credu mewn bedydd er maddeuant pechodau, ac arddodiad dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glân, ac, os oes neb yn glâf yn eich plith, mewn anfon am henuriaid yr Eglwys, mewn eneinio y clâf ag olew, ac mewn gweddio drosto, fel ei iacheir.

*(I'w barhau.)*

---

## EIN HAMSEROEDD CYD-OESOL.

*(O'r "Luminary.")*

DYWEDWYD gan un o gymmeriad hynod yn yr oes gynt, y deuai amseroedd enbyd yn y dyddiau diweddaf; dywedodd

lawer o bethau pwysig ereill, eithr gan ei fod yn Sant proffesedig, yn ddilynydd selog i'r Nazaread diystyredig, yn freuddwydiwr hynod a gwyrth-wneuthurydd, ni roddwyd nemawr coel i'w ddywediadau, a thywalltwyd ei waed cyfiawn; y mae oesau wedi myned heibio, y dyddiau diweddaf wedi dyfod, a chyda hwynt yr amseroedd enbyd y soniodd y Prophwyd am danynt.

Dywed y "*Morning Herald*," o'r ddinas hon, ynghylch y pwnc yma, fel y canlyn:—"Mae yr amseroedd yn darogan drwg. Tymher meddyliau dynion sydd wedi myned yn waethwaeth yn raddol, hyd onid yw "rhwymyn brawdgarwch" a ddylasai gyssylltu dynion ynghyd wedi ymddattod, fel y mae gwaetha'r modd. Dros yr holl wlad y mae ysbryd i ddiystyru a thorri y gyfraith yn llywodraethu, yr hwn sydd yn achosi mawr ddrwg, ac yn bygwth canlyniadau mwy galarus ac erchyll. Ymddengys fel pe bae y deall dynol wedi colli ei olwyn reoleiddiol. Sefydliadau a chyfreithiau ag sydd yn rhwymedig ar reswm a chydwybod, ac a ddylent lywyddu yn nghalonau pawb dynion, sydd wedi eu troi o'r neilldu, eu hanmharchu, eu casâu, a chael poeri arnynt. Cyffiniau ac amddiffynfeydd a osodwyd i fyny, fel yr ofnwn, gan ddoethineb *well* cenedlaeth, er amddiffyn meddiannau a rhyddid, sydd wedi eu bwrw yn gydradd a'r llawr gan gynddeiriogrwydd dall, mewn ufydd-dod i, ac yn anystyriol o bob peth ond boddhâd nwydau gwallgofu."

Pwy a gredai er ys ychydig flynyddau yn ol y deuai amseroedd enbyd yn ein Hameric hoff ein hunain? fe rag-ddywedodd y Prophwyd Joseph hyn, mae yn wir, eithr pwy a'i coeliai yr amser hwnw? Ond er mor ddyeithr yr ymddangosai hyny, cawn y genedl yn awr yn ocheneidio dan wasgfeuon celyd yr amserau, y mae calonau dynion yn ddiau yn llewygu rhag ofn y pethau sydd yn dyfod ar y ddaear; poenydir a gofidir rhai o herwydd sychu o'r ffynonau dwfr, trenga ereill gan newyn, ac y mae myrddiynau yn myned i ddinystr o herwydd eu hamddifadrwydd o wybodaeth o'r gwirionedd a ddadguddiodd Duw i ni, tra y mae drygioni a llygredigaeth ar eu cynnydd, ac yn bygwth cyn hir i felldithio y ddaear â dad-ddansoddiad a dinystr.

Y mae yr Apostolion cyntefig a phresennol wedi rhag-fynegu y pethau hyn, ac wedi ymegnïo i attal llyfeiriant drygioni ac

halogrwydd, fel yr ymruthrai drwy y cenedloedd Cristionogol; eithr grym y cenllif oedd ormodol. Ffrwd anferthol poblogrwydd y byd sydd yn ymruthro yn anystyriol ac anwrthwynebol i lyngelyn truenusrwydd; rhai a gipir gan yr awel-dro, a darewir gan haint, a leddir ar y maes rhyfelawg, a syrthiant yn ysglyfaeth i'r brad lofruddiwr, neu a drengant ryw fodd yn nifrodaeth y cenedloedd.

Yr Arglwydd a lefarodd wrth ei was Joseph, gan ddywedyd, "Ar ol eich tystiolaeth chwi y daw tystiolaeth daeargrynfâau, a llais tymhestloedd, a llais tònau y môr yn torri dros eu cyffiniau, a bydd pob peth yn derfysglyd, ac yn ddiau calonau dynion a lewygant; canys ofn a ddaw ar yr holl bobl, a'r angylion a ehedant drwy ganol y nef, gan waeddi â llais uchel, gan ddywedyd: Parotowch chwi, O drigolion y ddaear, canys barn Duw a ddaeth."

Os y cenhadon hyn ni ddeuant a'r diofal a'r annuwiol i edifeirwch, ac i iawn ystyriaeth o'u sefyllfa, anobeithiol yw eu hachos, a sicr eu dinystr.

Darluniad galarus yw hyn o sefyllfa a thynghed y cenedloedd Cristionogol, pobl a ymffrostient yn eu gwareidd-dra a'u Cristionogaeth, eithr yr ydym yn rhwym o gyfaddef y dystiolaeth a ddygir yn eu herbyn, canys allan o'u deddf-lyfr a'u geneuau eu hunain y safant yn gondemnedig, canys y maent wedi troseddu y cyfreithiau, newid yr ordinhadau, a thorri y cyfammod tragywyddol.

---


# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

DYDD SADWRN, MEDI 29, 1855.


---

**Ymweliad y Golygydd a Gwynedd.**—Dranoeth i'n hymadawiad ag Abertawy, treiliasom y Sul a'r Llun, 19eg a'r 20fed o Awst, gyda Saint Caerdydd, lle y cawsom fawr lawenydd wrth weled eu hundeb, eu cariad, a'u sêl; gwrandawai torfeydd

lliosog yn y prydnawn a'r hwyr ar air Duw yn Gymraeg a Seisneg, gydag astudrwydd â sêl arddangosiadol eglur o Ysbryd yr efengyl, ac addunedai yr oll ymroddi i fwy o ffyddlondeb fyth, i iawn fucheddu a thalu eu dyledion i'r eglwys am lyfrau, &c., fel y parotoadau anhebgorol i ymfudo y tymmor nesaf. Boreu dydd Mawrth aethom gyda yr ager-gerbydau trwy Casnewydd, Henffordd, a'r Amwythig tua Liverpool; ar hyd y wlad yr oedd y gwenith wedi ei guro i'r llawr yn arw gan y gwlawogydd diweddar, amryw erwau mewn manau a'r glaswellt yn tyfu drwyddo; rhoddid £1 yr erw yn rhai manau am ei dorri. Nid ydym yn cofio i ni erioed weled cnydau mwy nac mor doreithiog ag sydd eleni yn gyffredinol, ac yn neillduol o Wrexham i Gaerlleon.

Dydd Mercher, er ein mawr lawenydd, derbyniwyd ni yn bur roesawus gan ein Hynaws Lywydd Richards, yr hen gyfaill C. H. Wheelock, Ferguson, Grant, a llawer ereill, gyda y rhai treiliasom amser pur gysurus yn clywed eu hyntion, a hanes Seion a'i hachosion drwy'r byd, hyd prydnawn dydd Sadwrn, pan y daeth yr Henuriad Ferguson, Llywydd y Genadiaeth Wyddelaeg, gyda ni hyd Wrexham, a boreu y Sul i Gymmanfa Rhosllanerchrygog, lle y cawsom liaws o Saint wedi ymgasglu, y Bugail Parry, y Llywydd Davies, a'r cyffredinolrwydd o'r Swyddogion a'r Saint yn wresog yn yr Ysbryd yn dysgwyl am danom ni ynghyd a'r Llywydd Richards, yr hwn a addawsai ymweled â hwynt, eithr a luddiwyd gan afiechyd. Amlwg i ni oedd fod Ysbryd yr Arglwydd yn eu plith yn nerthol o'n blaen ni, ac arddangosai y cyfrifiad o weithredoedd y Saint, eu cyfraniadau at achos Duw, eu cariad at eu gilydd, a'u hymdrechiadau clodadwy i dalu yr hen ddyledion am lyfrau, at yr hyn daeth rhai punnoedd i fewn i'r Gymmanfa, ynghyd a'u haddunedau unfrydol i werthu traethodau a rhybuddio eu cymmydogion yn selog; i dalu eu dyled i'r Deml, ac am lyfrau, &c., eu bod yn penderfynu i ymbarotoi i ymfudo erbyn yr agoro yr Arglwydd y ffordd iddynt. Gwrandawwyd yn astud y prydnawn a'r hwyr a'r yr Henuriaid Davies, Parry, Ferguson, a'r hanesydd, yn tystio iddynt am ddwyfoldeb y genadwri hon—ffordd y cadw, y dinystr sydd ar ddyfod ar y byd, a'r Seion hono a drefnodd Duw yn unig "noddfa" i'w blant rhag y llid. Hyfryd oedd genym undeb dieithriad yn mhlith y Swydd-

wyr a'r Saint, ac Arglwydd mawr y cynheuaf a wnelo ei weision oll yn rymus fedelwyr i gael yr holl wenith o'r rhan hon o'i winllan i'r ysgubor cyn del y geuaf ar eu gwarthaf.

Llun, y 27ain, cawsom y newyddion cysurus, drwy lythyr oddiwrth y Llywydd Richards, fod y Llywydd D. Spencer wedi dychwelyd i Liverpool o'r Taleithiau; fod holl Saint y Gymdeithas Ym. Barhaus wedi cael cynnyg i ymfudo o St. Louis i'r Dyffryn eleni, fod yr Arglwydd wedi myned o'i flaen at yr holl farsiandwyr, a darparu eu calonau i ddiwallu anghenrheidiau yr ymfudiad â lluniaeth, anifeiliaid, pedrolfenni, ac a phob peth a ddymunent ar eu hamodau eu hunain gydag ewyllysgarwch anghydmarol, ac fod ei fendith yn dilyn yn nodedig ar holl ymdrechiadau y Saint ymfudol, a'u bod oll ar eu ffordd tua'r Dyffryn cyn ei ymadawiad ef o Atchinson. Diolchwn oll am hyn, a gweddiwn am eu hwylusdod Ef i gludo miloedd mwy adref y tymmor dyfodol. Aethom yn nghwmniaeth y Bugail Parry, Ferguson, a Davies, a phregethasom yn Brymbo, a nos Fawrth cawsom y pleser o bregethu i dyrfa liosocach o wrandawwyr astud ar yr heol yn y Wyddgrug; ac, ond barnu wrth eu sobrwydd, mae yno lawer o ymchwilwyr am y gwirionedd.

Dydd Mercher dychwelodd y Brawd Ferguson i Liverpool, aeth y ddau frawd arall yn mlaen tuag Abergele, a ninnau i Laneurgain, lle y buom yn pregethu ein goreu i amrywiol berthynasau caredig, a thra y suddai y gwirionedd yn nghalonau tynerach y gonestaf, nes ffrydio y dagrau caruaidd dros eu gruddiau, ac ereill, lle y planasai ysbryd Calfinaidd ei ewinedd fforchog yn ddyfnach, fel ar greigleoedd, ergydiai yr hâd da yn ol i lestr yr hauwr,—y Duw mawr a'i pïa a ddyfrhâo ac a egino yr hâd lle yr arosodd, hyd nes y dygo ffrwyth a flodeua mewn amser, ac a addfedo yn ei winllan dragyfyth.

Dydd Iau, y 30ain, cyrhaeddasom i'r Fflint, a dychwelasom i Liverpool; er ein dywenydd cawsom y Llywydd Richards yn well ei iechyd; y Brawd Spencer wedi ymadael i Germany, a chawsom gyfeillach hoff brodyr o Seion, am felysder a rhîn yr hwn ni ŵyr neb ond a fuont yno!

Sadwrn, y 31ain, aethom yn nghyfeillach y Llywydd Richards, Ferguson, a Scott, hyd i Abergele, lle ein derbyniwyd ni yn bur roesawus gan y Llywyddion Parry, Davies, G. Roberts, &c., yr oll o ba rai a ymrafaelient braidd am y cyfle cyntaf i

arddangos eu caredigrwydd tuag atom, yr hyn ni anghofir yn fuan.

Dydd Sul, Medi 1, dylifai y Saint o bob cŵr yn siriol tua'r Gymmanfa, ac er ein cysur gwisgai natur ei gwisg Suliol; dadlenai ei gorchudd oddiar ei hwyneb fel yr yspiai ei nhefol "sêr" drwy'r awyr lâs ar eu brodyr ieuengaf mewn Cymmanfa. Ei digofus gruchiawg gymylau a giliasent yn ol; ei hanadl yn esmwyth a chwifiai drwy'r fro, a'i huan a siriol wenai ar yr olygfa. Golygfa nad aml y gwelir ei hail—ond unwaith y cafwyd ei chyffelyb! Tra o gam i gam yn ochr APOSTOL yr Oen, yr hwn a anrhydeddai dri o urdd Melchisedec a'i bresennoldeb, a rhodiem ar hyd yr heol teimlem â'n gwadnau gyssegredigrwydd braidd; tra clychau y clochdŷ a ysgrechient yn groch —"Dyma'r ffordd i'r nefoedd," a llawer yn eu credu; y Cafln a'r Wesley yn daerach a groes dynent y lliaws ar eu holau; yn finteioedd o wyr, a'r glandecaf o flodau y wlad, ynghyd a'r penllwyd, y gwargam, a'r oeheneidwyr a'n cyfarfyddent; cilolwg y naill, dant blaen y llall, a sibrwd y llu yn dweyd,— "Dyna'r Captain, tad y twyllwyr i gyd," "gŵr llawer o wragedd," a "gau-brophwydi yr oes," &c., a brofent yn eglur ein bod ninnau yn anadnabyddus yn y wlad a'n magodd. Rhedai y meddwl yn ol dri deg o flynyddau, pan ar hyd yr heolydd hyn yr heinyf chareuai bachgenyn deng mlwydd oed—yr iwrch a'r mŷn nid nemawr mwy felly. Engyl nef o'i amgylch a ddoent, canfyddodd oleuni yr efengyl, yn fyddin casglai blant y dref i'r caeau cylchynol i'w dysgu mewn ffydd, edifeirwch, "bedydd er maddeuant," a "doniau yr Ysbryd Glân" mewn addewid; ei erlid am hyn a gaffai gan bawb, a chrwydrodd hyd foroedd, ynysoedd, a chyfandiroedd y byd am frodyr o'r un grêd. pa rai er ei gysur, *angel a'i haddawsent iddo.* Ar ol dau ddeg o flwyddi o deithio difeth, cafodd afael yn ngwrthddrych ei serch—perlyn penaf y byd, a thrysor yr holl drysorau. O'r gorllewinfyd pell, dros wyth mil o filltiroedd, daeth o wlad yr aur, ac nid llongaid o'r sothach hwnw a ddygodd, onide. cawsai luoedd o ffryndiau; ond dengmil gwell nag aur y byd a gynnygiai iddynt. Eu huchel ffroen a'u cyndyn grêd, ynghyd â'r olygfa bresennol oedd gyflawniad o weledigaeth. Pe pawb yn farnwyr a fo'nt ni cheid o honynt oll a farnai deimladau y dieithryn yn well nâ'r hanesydd pan y gorfodai llawer ffaith ef i

wybod mai gwir yw'r olygfa; pan welai y rhai a feddyliai gynt yn oreu oll, yn gwawdio yn ffroen-uchel eiriau y bywyd o eneuau apostol a chenadon geirwireddus y nef; pan y clywai hwynt yn galw y gwir yn gau a'r gau yn wir, y tywyllwch yn oleuni a'r goleuni yn dywyllwch! Anamgyffredadwy yw cryfder dylanwad ysbryd gau grefydd.

Wedi cael cynnrychioliad y Gynnadledd, a threfnu eu hachosion, galw swyddogion, pleidleisio i'r awdurdodau, cymmuno, a rhoddi cynghorion amrywiol a dyddorol yn y boreu, pregethodd y Llywyddion Scott a Richards yn effeithiol neillduol, ar ddyledswydd y Saint i ymfudo gyda phob brys; fod eisieu i'r Saint gadw eu golwg ar y mater pwysig hwn yn fwy yn awr nag erioed, a gwneyd pob darpariadau ar gyfer ymfudo y tro nesaf. Dywedai yr olaf fod y cymylau duon sy'n tywyllu awyrgylch y byd yn ddaroganus o dymhestloedd ag a fyddant yn beryglus i'r ymfudiad tua Seion, heblaw fod barnau Duw yn hongian uwchben y Taleithiau, ac yn mron a'u dinystrio; pwy a wyr nad arbedai Duw hwynt am ennyd fechan etto, fel yr addawodd arbed Sodom, pe caffid chwaneg o gyfiawnion ynddynt.

Yn yr hwyr cafwyd darlith ragorol, gan yr Henuriad Ferguson, ar "Deml yr Arglwydd." Dydd Llun dychwelodd y Llywydd Richards i Liverpool, a dydd Mawrth aeth y ddau frodyr ereill i'r Iwerddon.

---

## DYFYNIADAU O HANES YMWELIAD Y BRIF LYWYDDIAETH A MANTI, &c.

*(At y Cad. D. H. Wells.)*

Ar y 12fed o Fai, 1855, cychwynasom am 7 yn y boreu (wedi gwersyllu dros y nos yn Nyffryn San Pete), ac aethom hyd y groes-fan ar afon San Pete, lle yr arosodd amryw o'r Cwmpeini, tra yr aeth ereill gydag 8 wagen, 1 cerbyd, a thua 15 ar gefnau ceffylau, tua'r gwelyau glô, tua 5 milltir o'r ffordd. Wedi cyrhaedd hyd y fynedfa i'r Kanyon, troisom yr anifeiliaid allan i bori, a gosodasom wyliadwriaeth arnynt, tra yr aeth y gweddill o'r Cwmpeini am filldir a hanner i fyny y Kanyon hyd at y wythïen lô. Er ein mawr foddlonrwydd gwelsom nad ffugiaeth oedd, canys nyni a'i gwelsom ac a'i trafodasom, a chymmeras-

ein esiamplau i fyned adref. Aeth un o'r brodyr a llonaid flotan i Fort Ephraim, lle ei profwyd mewn efail gof, a gwnaeth dân rhagorol i asio haiarn.

Mae y rhan o'r wythïen a fuom ni yn ei gweled mewn cilfach yn y Kanyon, ac y mae yr olwg gyntaf arno yn debyg i graig dalpiog ddaneddog. Yn y fan yma y mae tua 25 troedfedd o'r man lle y mae yn brigo yn lô noeth, ar hyd yr hwn y mae ffrŵd fechan o ddwfr yn rhedeg. Mae y glô uwchaf yn 3 troedfedd a 4 modfedd o drwch, ac y mae cloden rhyngddo â'r glô sydd odditano; o dan hwnw y mae cloden deneu, tua 2 fodfedd o drwch, yr hon y dysgwylir ei bod yn darfod yn nes i mewn; dan hon mae y glô isaf, yn wythïen rhagorol o 5 troedfedd o drwch.

Gan nad oeddem wedi parotoi i geibio, ni allasem benderfynu sefyllfa pethau yn nes i mewn na'r gwyneb, ond wrth bob arwyddion y mae argoel deg am gyflawnder diddarfod braidd. Yr wyf yn treio gosod pobl Manti a Fort Ephraim i wneuthur heol ato, ac i ddechreu gweithio arno, fel y caffom lô yn Ninas y Llyn Halen yr hâf yma.

Mae y bobl yn mhob sefydliad y buom ynddo, fel pe baent yn rhwbio y cèn oddiar eu llygaid, ac yn ymddeffroi mwy i gyfiawnder ac i wneuthur gwelliadau cyffredinol, yr hyn sydd yn ddywenydd mawr genyf.

Cyn belled ag yr aethom ar ein taith, y mae ceiliogod y rhedyn lawer yn amlach. yn y cyffredinolrwydd o lefydd, nag yn Ninas y Ll. H. Mawr, tra y mae maesydd o wenith, a addawent er ys ychydig wythnosau yn ol gynheuaf helaethlawn, yn amddifad o laswelltyn nac eginyn.

Y mae iechyd y bobl yn y sefydliadau yn dda. Cawsom gwmpeini da, ac y mae ysbryd rhagorol yn teyrnasu yn gyffredinol. Eich brawd, &c.,

BRIGHAM YOUNG.

---

## DYFYNIADAU O LYTHYRON GEO. A. SMITH, PRIF HANESYDD YR EGLWYS.

*Parowan, Mai* 14, 1855.

GOLYGYDD Y 'DESERET NEWS,'—Y mae Henry Rollands, Ysw., ar ei daith tuag yna, a chanddo lwyth trwm o *groceries*.

Mwynheir iechyd da yma. Hauir gwenith gan y ffermwyr o hyd, gan fod y gwanwyn mor ddiweddar. Y mae ceiliogod y rhedyn bychain yn llawer amlach yma nâ'r byddinoedd ymladdgar yn y Crimea.

Y mae eisieu 150 o wyr yn union yn y swydd yma i gario y Gwaith Haiarn yn mlaen yn llwyddiannus; y rhai y gelwir fwyaf am danynt ydynt weddeuwyr, mwnwyr, glöwyr, llosgwyr calch, llifwyr, cwarwyr, seiri maen a choed, peiriannwyr, llosgwyr *charcaol*, *fillers*, *founders*, &c., &c. Mae y bobl yn awyddus a chalonog gyda'r gwaith, a pharhâd llwyddiannus y ffwrnes ar waith am bythefnos a foddhaodd y mwyaf anghrediniol, mai ond ei hiawn borthi oedd yn anghenrheidiol, gan y gorfodwyd ei chwythu allan o ddiffyg defnyddiau. Y mae peiriannau yn cael eu gosod i fyny, ac ar waith; toddir haiarn hoelion, &c.

Y mae *Rifle Company* yr U. D. yn Little Creek, ar eu ffordd i Galifornio. Gwylltiodd y ceffylau oedd dan eu gofal, rhedasant 30 milltir, a niweidiwyd cryn dipyn ar rai o honynt.

Parowan, Mai 18, 1855.—Cyrhaeddodd y llythyr gerbyd deheuol. Ymwelwyd â Wanaup, Blaenor llwyth y Piedeiaid, gan y Barnwr Kinney, a Mr. Hurt, y Goruchwyliwr Indiaidd, y rhai a roddasant iddo anrhegion, ac efe a'u derbyniodd yn ddiolchgar a charuaidd iawn. Mae y gwynt a'r llwch yn gryf ac aml. Mae gan y ffermwyr i ddyfrhau y tir cyn hau, o herwydd cael gwanwyn mor sych. Ymddengys y gwenith yn dda iawn; nid yw ceiliogod y rhedyn yn niweidiol etto, ond tipyn yn Red Creek. Cyrhaeddodd y Llywydd Young, ac ereill, yma heddyw. * * * *

G. A. Smith.

---

## HIRAETH AM SEION.

'Rwy'n llawen dan wasgfeuon
Pan gofiaf am yr awr,
Y gwelir Saint yr Arglwydd
Yn Seion deg ei gwawr;
Pob un yn byw mewn undeb,
A chariad trwy'r holl dir,
A gwasanaethu'r Arglwydd
Wna'r Saint o galon bur.

Ni gawn fyned dros y môr,
Yn llon i blith y côr,
Sy'n Nyffryn y Llyn Halen
Yn dysgu moli'r Iôr.

Cawn yno lon gymdeithas
Hoff ddewrion weision Duw,
Y rhai sydd yn llafurus
A diwyd wrth y llyw;
Goreuon yr holl ddaear,
Fydd wedi cwrdd ynghyd,
I ddysgu iawn gyfreithiau
Pen Llywydd yr holl fyd.
Ni gawn fyned, &c.

O henffych, ddedwydd foreu,
Gwyn fyd na wawriai'r dydd,
Pan welir y ffyddloniad,
A'u traed yn rhodio'n rhydd,
Yn canu'n iach i Babel
A'i gormes o bob rhyw,
Gan dderbyn eu bendithion
Yn hyfryd Deml Dduw.

Ni gawn fyned dros y môr,
Yn llon i blith y côr,
Sy'n Nyffryn y Llyn Halen
Yn dysgu moli'r Iôr.

*Pyle.* JOHN BOWEN.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

BACHGEN A CHYRN AR EI BEN.—Dywed y *Caddo Gazette* fod dau gorn yn tyfu allan o dalcen bachgen du, blwydd a hanner oed, maent yn efelychu cyrn carw, yn chwech modfedd o hyd, fforchodd blaen un o honynt yn ddiweddar, ac y maent yn tyfu yn hynod o gyflym!

LOCUSTIAID YN RWSIA.—"Ymwelodd y locustiaid ag Odessa yn ddiweddar mor liosog, fel y tywyllwyd y ddinas ganddynt ganol dydd. Gwnaed difrod mawr ganddynt eleni drwy holl Rwsia ddeheuol."

Ni chydiwn mewn newyddiadur Cymraeg na Saesneg braidd ar nad yw dyfodiad y ceiliogod rhedyn i Utah yn ffurfio iddo destunau i *brophwydo*, ac i ddarogan naill ai y newynir y "Mormoniaid" os arosant yno, neu y bydd raid iddynt fyned oddiyno. Eu dymuniad a brophwyda gau brophwydi bob amser, eithr rhag-welwn ni y bydd y wyntyll hon hefyd yn fendith o'r mwyaf i'r Saint ffyddlon, drwy y bydd yn effeithiol i nithio yr ûs o'r llawr dyrnu i wlad yr aur.

## TALIADAU AT DDYLED CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG, O MEDI 11 HYD MEDI 24.

| | | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|---|
| 1. | Emrys Davies, Aberafon | 1 | 0 | 0 |
| 2. | Margaret Davies, ei wraig | 0 | 5 | 0 |
| 3. | Gwenllian Dafydd, Aberafon | 0 | 3 | 0 |
| 4. | William Eastman, Aberafon | 0 | 6 | 0 |
| 5. | Anne Eastman, ei wraig | 0 | 6 | 0 |
| 6. | David Lewis, Aberafon | 0 | 6 | 0 |
| 7. | Benjamin Davies, Alltwen | 0 | 5 | 0 |
| 8. | James J. Davies, Alltwen | 0 | 3 | 6 |
| 9. | Rees Davies, Alltwen | 0 | 5 | 0 |
| 10. | James Morgans, Alltwen | 0 | 3 | 0 |
| 11. | John Morgans, Alltwen | 0 | 6 | 0 |
| 12. | David S. Morgans, Alltwen | 0 | 2 | 0 |
| 13. | David Morgans, Alltwen | 0 | 2 | 6 |
| 14. | Mary Morgans, ei wraig | 0 | 2 | 6 |
| 15. | William Morgans, Alltwen | 0 | 0 | 6 |
| 16. | Eliza Morgans, Alltwen | 0 | 2 | 6 |
| 17. | ——— ———, Alltwen | 0 | 10 | 0 |
| 18. | Lewis Lewis, Cyfyng | 0 | 2 | 6 |
| 19. | Mary Lewis, ei wraig | 0 | 2 | 6 |
| 20. | Joseph Sawyer, Cangen Seis. Abertawy | 0 | 5 | 0 |
| 21. | Henrietta Sawyer, ei wraig | 0 | 3 | 0 |
| 22 | George Watts, Cangen Seisnig Abertawy | 0 | 3 | 0 |
| | | £5 | 4 | 6 |

D.S. Mae rhai ereill wedi talu cyfran, eithr ni chydnabyddir hwynt drwy yr Udgorn, hyd oni chyflawnant eu haddewidion. Ymdrecher i gyflawni yr addunedau cyn y Gymmanfa.

---

Derbyniadau am Lyfrau o Medi 7 hyd 20.—Evan S. Morgan, £2 14s 11c; Hugh Roberts, £1 11s 4½c; George W. Davies, £10.

CYNNWYSIAD.



---


ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 21.] HYDREF 13, 1855. [CYF. VIII.

## ARAETH Y LLYWYDD J. M. GRANT,

*A draddodwyd yn y Tabernacl, Dinas y Llyn Halen Mawr, Mawrth 11, 1855.*

[Parhad o dud. 310.]

DYMUNWN fanylu tipyn ar y pwnc o eneinnio y claf ag olew. Nid wyf yn deall gwell na fod rhai yn defnyddio ordinhadau Duw yn rhy gyffredin, ac ar achlysuron rhy wael. Y mae rhai os aiff blaen drainen i'w bŷs a alwant am arddodiad dwylaw, a gweddi i iachâu y clwyf; neu os cânt dipyn o rô neu lwch yn eu llygaid, ceisiant genych osod dwylaw arnynt i'w dynu allan; ac felly gyda drygau bach ereill, o ba rai y mae genym feddyginiaeth eglur a gwybodus i ni. Nid wyf am ddysgu hyn, ond yr wyf yn ewyllysio dysgu athrawiaeth y Beibl i chwi. 'A oes neb yn eich plith yn glâf? galwed ato henuriaid yr eglwys; a gweddiant hwy drosto, gan ei eneinnio ef ag olew yn enw yr Arglwydd, a gweddi y ffydd a iachâ y claf, a'r Arglwydd a'i cyfyd ef i fyny; ac os bydd wedi cyflawni pechodau, hwy a faddeuir iddo.' Dyna athrawiaeth y Beibl, craffwch ar y geiriau. Os bydd neb o'r Apostolion yn glaf, anfonent am rai o'r Apostolion ereill, a gweinydded eu brodyr Apostolaidd iddynt, a hwy a iacheir; nid yw y Beibl yn darllen felly. Nid yw yn darllen mai enwogion yr eglwys yn unig a gânt fwynhau daioni y sefydliad yma, eithr dywed, "A oes *neb* yn glâf yn eich plith?" &c. Meddyliwch y fod gan Dduw wir eglwys ar y

ddaear yn yr oes hon, pa ddull y mabwysiadai yr eglwys hono ar yr achlysur o fod neb ynddi yn glaf ? Meddai un, 'pe meddent yr un ffydd â'r henafiaid, cyflawnent yr un gweithredoedd.' Pa fodd y deallwn pa un a oes gan Saint y Dyddiau Diweddaf yr un ffydd â'r apostolion gynt? Gwyddoch i'r Apostolion ddweyd y fod ganddynt yr un ffydd werthfawr. Pa fodd y mae i ni ddeall ei bod genym ni? Os bydd neb yn glaf yn eich plith, chwi a anfonwch am henuriaid yr eglwys, a gadewch iddynt eich heneinnio ag olew yn enw yr Arglwydd, a gweddi y ffydd a iachâ y clâf.

Gwelwch ar unwaith ei fod yn anghenrheidiol i'ch gweithredoedd gyduno, ac i chwi anfon am henuriaid yr eglwys. A welwch chwi yr ymarferiad yma yn mhlith Saint y Dyddiau Diweddaf? Rhaid i rai o honynt dreio y meddyg yn gyntaf, cael eillio y pen, cymmeryd dogn o arian byw a *gamboge*, cael plastr poeth ar y gwàr, ac un arall dros yr holl ymysgaroedd, heblaw un ar afael pob clun, mewn gair, rhaid iddynt gael chwech neu wyth o boeth-leni mawrion arnynt ar yr un pryd. Wedi treio hyny, a myned yn ddyledus i'r meddygwr o chwech i saith cant o ddoleri, anfonant wed'yn am yr henuriaid. Pan y mae Iago yn agos marw, wedi i ddau gwart o waed gael ei dynu o hono dydd Sadwrn, ac un arall dydd Llun, a phan y mae bywyd yn agos cael ei dynu o'r truan wrth physigo a gwaedu, anfonent y pryd hwnw am yr henuriaid, a gofynant iddynt i weddio drosto. Pan yr anfono dyn neu fenyw am danaf i, ar ol dilyn y fath lwybr, teimlaf fy mod wedi fy sarhau, os gweithredaf felly. Af i'r tŷ mewn natur dda rhagorol yn ymddangosiadol, a gweinyddaf, eithr y mae digter o'm mewn. Teimlaf eu bod wedi sarhau yr Offeiriadaeth, ac wedi sarnu trefn Tŷ Dduw, a gwneuthur yn fychanus o'i ordinhadau santaidd. Nid wyf yn awyddus i weithredu ffydd dros y fath bobl, canys yr wyf yn meddwl mai ffyliaid ydynt, a marw marwolaeth ffyliad wnelont

Os yw ffydd yr henafiaid mewn gwirionedd gan y Saint, bydded iddynt ymarferyd yr athrawiaeth yn eu gweithredoedd. Dywed dyn wrthyf ei fod yn Formoniad, ei fod yn credu yn ffydd yr henafiaid, tra ar yr un pryd yr ymarfera bob peth arall ond ei grefydd. Fy nhrefn i yw ymarferyd ein crefydd. Os bydd arnaf eisieu llymaid o dê *catnip*, *composition*, neu *lobelia*,

bydd hyny o'r goreu, ond ymarferaf fy nghrefydd yn gyntaf. Gwyddoch nad yw braidd yn ganiatäol yn Utah i yfed dim mwy nâ phum galwyn o *lobelia* ar unwaith, canys bu y mater unwaith dan ystyriaeth Cymmanfa Deseret.

Yr wyf yn dymuno i'r Saint ymarferyd eu crefydd, a'i chario allan, ac os nad allant fyw wrth eu crefydd, yna bydded iddynt farw wrthi. Dyna yw yr athrawiaeth. Y mae arnaf eisieu fy nghrefydd os wyf yn myned i farw. Bid siwr, nad dyna yr amser y chwennychwn ei throi heibio, canys byddai yn annoeth i wneuthur hyny, oblegid mai dyna yr amser penodol y mae ar ddyn fwyaf ei hanghen, a'r amser y dylasai fod wedi ymsuddo ynddi. Yr wyf am i'r Saint ddangos mewn gwirionedd drwy eu gweithredoedd y fod ganddynt ffydd yr henafiaid.

Pan yr aiff yr henuriaid allan i bregethu, ac yr iacheir pobl drwy osodiad dwylaw, y mae rhai wedi dywedyd, 'Nis gallwn ddysgwyl i'r cleifion gael eu hiachâu yn Seion; ni ddysgwyliwn weled gwyrthiau wedi ein hymgasgliad i Seion.' Dyna yw y lle mwyaf nodedig i'r cleifion gael eu hiachâu, a'r lle y dylasai pobl Dduw ymarferyd fwyaf o ffydd, a bod yn fwyaf diwyd i gadw ordinhadau Tŷ yr Arglwydd gywiraf. Ni chlywsoch ddysgu ond yr athrawiaeth i ffwrdd, ond yr ydych wedi dyfod adref yn awr i ymarferyd yr hyn eich dysgwyd mewn gwledydd ereill.

Os bydd neb yn glaf yn eich plith, anfoned am henuriaid yr eglwys i osod eu dwylaw ar ei ben, ac i weddio drosto, wedi ei eneinnio ag olew yn enw yr Arglwydd, a gweddi y ffydd a iachâ y claf. Esgeulusa pobl i eneinnio ag olew, pan y dylent ac y gallent ei ddefnyddio. Yr wyf wedi gweled yr henuriaid yn ceisio bwrw allan gythreuliaid, ac i gyflawni hyny y maent wedi ymprydio a gweddio, a gosod dwylaw, a cheryddu y diafol, ond nid elai allan. Yr wyf wedi eu gweled yn dyfod ag olew cyssegredig, ac yn eneinnio y person a feddiannid gan ddiafol, ac aeth y diafol allan yn union. Dysgodd hyny wers dda i mi, fod y Duw Hollalluog pan yn llefaru peth yn ei feddwl hefyd; ac os bydd gweithredoedd dyn yn iawn, bydd ei ffydd yn iawn hefyd, ac os na fydd ei ffydd yn gywir ni fydd ei weithredoedd ychwaith. Pan yr elo allan ddyn sydd a'i ffydd yn iawn i weinyddu i'r claf, efe a eneinnia ag olew yn ogystal a gosod ei ddwylaw a gweddio. Heb i chwi eneinnio ag olew, ni chyfyd

eich gweddiau yn uwch nâ'r niwl, a gwyddoch mai pur anfynych y cyfyd hwnw yn uwch nâ phenau y mynyddoedd

Os byddaf yn glaf, ac yn anfon am weinidog, yr wyf am iddo gyflawni pob gair o eiddo yr Arglwydd; ac os bydd yno neb nad ydych yn hoffi pan y deuwch yno, gwahoddwch hwynt allan o'r drws. Pan fo cythreuliaid yn y tŷ, ac nad hoffwch hwynt, bwriwch hwynt allan, ond byddwch yn sicr o weinyddu yr ordinhadau yn iawn. Pan yr elo henuriad i weinyddu i'r clâf, gan ofni seimio ei fysedd, neu ddyfern ychydig olew ar ei wisgoedd, ac yn dywedyd, "O, na hidiwch am yr olew, nid oes rhinwedd mewn olew golewydden; byddai gystal i chwi ei yfed ag eneinnio ag ef; heblaw hyny gallaf seimio fy menig, gwnaf y tro hebddo," yr wyf am i'r fath ddyn ei chychwyn hi ffwrdd. Pe byddwn i yn glâf ac y deuai ataf yn y modd hwnw, dywedwn, 'Yr ydych yn ragrithiwr, druan gwael.' Dyna fel y teimlwn ac y dywedwn. Bydded i ddyn pan y medd yr iawn math o ffydd, ymarteryd gweithredoedd y cyfryw: a phan y dywed Duw, Eneinniwch ag olew, eneinniwch, nid oes gwahaniaeth genyf fi pe rhedai i lawr eich barf, fel y gwnaeth ar farf Aaron, ni wna un niwed i chwi. Pan y mae dyn yn ateb i bob gofyniad o eiddo y nefoedd, y mae ei weithredoedd a'i ffydd yn iawn. Enfyn i fyny weddiau dros y cleifion, eneinnia ag olew, a gesyd ei ddwylaw. Pan fo ei weithredoedd yn iawn, hwy a gydunant a'i ffydd, ac fe iacheir dynion a benywod.

Y mae hon yr un mor sicr â chyfraith mesmeryddiaeth. Ni welais erioed mo honi yn methu, ac ni fetha byth; dywedaf hyn wrthych yn enw Arglwydd Dduw Israel. Y diffyg mawr yw, fel y dywed y Brawd Kimball, chwery pobl â'r pethau hyn, fel y gwna cath â llygoden hyd oni fydd marw; ac felly y bydd gydag ordinhadau Duw pan na chyflawnir ond rhan o honynt, ac yr esgeulusir y rhan arall, canys yn y fel yna y cauir cyfrwng bendithion yr Arglwydd. Na ddysgwylied y Saint cleifion eu bod yn myned i fod yn iach, tra nad oes ond hanner yr ordinhad wedi ei gweinyddu iddynt. Os dymuna dyn gael ei iachâu, rhaid yw gweinyddu arno yn gyfreithlon yn y ffordd hono a benododd Duw, a byw i'w grefydd.

Y mae llawer o bobl yn cyfranogi o'r secrament, ac yn meddwl ar yr un pryd, 'pa nifer o weddeuau a allaf fi gael y fory i gludo cerryg? Wn i yn y byd a oes gan hona fonet

debyg i fy un i, neu os gallaf fi gael un fel ei un hithau? Ai tebyg y bydd yn ddiwrnod teg y fory, neu ynte a wlawia neu fwrw eira?' &c. Gellwch eistedd ar yr esgynlawr hwn a darllen yn eu gwynebau fod y fath feddyliau ynddynt. Pan y mae un claf wedi anfon deisyfiad i mewn am weddiau y gynnulleidfa yma, y mae llawer yn gadael i'w meddyliau grwydro dros yr holl greadigaeth. Onid ydym yn gweled hyny yn union yn y fan yma? Ydym, ac y mae dyn i Dduw yn teimlo yn ddigllawn wrtho. Nid oes wahaniaeth pwy a elwir i weddio, dylai yr holl gyfarfod ymuno; dylai pob person ag sydd yn y gynnulleidfa ag sydd ganddo ran wrth orsedd gras gyd-weddio, a chodi eu calonau fel calon un gwr at yr Hollalluog am y fendith ofynedig, ac mewn rhoddi diolchgarwch am y bendithion a fwynheir.

Siaradwn ynghylch bod yn un, yn awr os yw ein ffydd yn iawn cyduned ein gweithredoedd. Os bydd genych ffydd i weddio, a phan y gweddier o'r esgynlawr, gweddiwch chwithau hefyd, ac os na allwch gyfyngu eich meddyliau mewn un modd arall, adroddwch weddi yr hwn sydd yn gweddio ar gyhoedd, air yn ngair, a gweddied pob Sant i Dduw pan y dêl yr awr weddi. Pan yr anfonir gweddi i fyny fel yna at Dduw y nefoedd ddyrchafedig dros y claf a'r cystuddiedig, chwi a gewch y claf wedi ei iachâu, canys y mae gweddiau pobl Dduw yn esgyn megys arogl-darth o'i flaen Ef, ac y mae Efe wedi cyhoeddi yr etyb eu gweddiau o herwydd y byddant yn unedig. Pan yr enfyn berson claf yma ddeisyfiad am ran yn ein gweddiau, nid yw wedi ei anfon er i un dyn yn unig weddio dros y cyfryw berson, ond y fod i weddiau y Saint cynnulliedig, un ac oll, i gael eu cynnyg drosto. Yna y cyfodai pob un yn Nhabernacl y cyfiawn ei lais, a gweddiai dros y person claf hwnw, eich dyledswydd yw ei wneuthur. A phan gymmeroch o'r Sacrament, dylech gofio am gorff yr Arglwydd, a chredu mai drwy rinwedd ei ddyoddefiadau, ei waed a'i farwolaeth eich prynwyd. Dylech ystyried nad yw yn unrhyw ordinhâd fechan a dibwys, ond ei bod wedi ei sefydlu gan y Duw mawr er lleshâd ei bobl, ac i wneuthur coffawdwriaeth yn barhaus o ddyoddefiadau a marwolaeth ei Fab.

Dymunwn alw arnoch i fod yn foddlon i feddu yr iawn fath o ffydd, ac i'w harddangos drwy eich gweithredoedd. Pa beth

yw tystiolaeth Saint y Dyddiau Diweddaf? Y mae ein crefydd mor wahanol i grefydd pobl ereill ag yw ein tystiolaeth ni i'w tystiolaeth hwy. Pan dystiolaethodd Joseph Smith, dywedodd wrth y bobl y fod angel o'r nef uchel wedi llefaru wrtho, ei fod wedi ei ordeinio ag awdurdod oddiwrth Iesu Grist, a'i anfon allan i bregethu yr efengyl. A glywsoch chwi y Methodistiaid yn dal y fath dystiolaeth erioed? Os naddo, pa fodd y gellwch ddysgwyl iddynt feddu y fath ffydd a'r dyn sy'n credu tystiolaeth Joseph Smith? Ni fedd y Methodistiaid y fath dystiolaeth, ond yn unig fel y cânt hi gan Saint y Dyddiau Dyweddaf. Dywedodd Joseph hefyd iddo weled gororau tywyll Gehena; a glywsoch chwi Fethodistyn erioed yn dal y fath dystiolaeth? Naddo. Dyma lle y mae henuriaid Israel a welsont gwmni ar ol cwmni o angylion, a welsant iachâd y cleifion, agoriad clustiau y byddariaid a llygaid y deillion, a rhyddhâd tafod y mudan. Clywsoch hwynt yn tystio iddynt weled gogoniant Duw; a'u bod drwy ysbryd y brophwydoliaeth wedi rhagweled rhyfel, haint a newyn yn dyfod ar y ddaear. Nid yw y Methodistiaid yn hòni y fod ganddynt y fath dystiolaeth, ac wrth gwrs nid oes y fath ffydd ganddynt. Gellwch fyned at unrhyw sect a fynoch ar wyneb y ddaear, ac y mae eu ffydd yn cyduno a'u tystiolaeth, fwy neu lai.

Y mae gan Saint y Dyddiau Diweddaf dystiolaeth, ac y mae ffydd yn dyfod iddynt drwy glywed gair Duw, ond y mae yn dyfod i ereill wrth glywed geiriau dynion.

Y mae genym ni dystiolaeth y fod Crist yn fyw ac yn eistedd ar ddeheulaw Duw; y fod angylion wedi gweinyddu i blant dynion ar y ddaear, ac fod ein Duw yn clywed ac yn ateb ein gweddiau. Y mae ein ffydd yn wahanol, ac y mae ein tystiolaeth yn wahanol i'r lleill o'r byd proffesedig; ac er eu cael i gyduno â ni, y mae ganddynt i wrandaw ar, a derbyn yr un dystiolaeth, yr un athrawiaeth, a'r un pwys o ymresymu a feddwn ni canys y mae ffydd yn dyfod trwy glywed gair Duw. Y mae pobl Dduw yn y dyddiau diweddaf hyn yn gwahaniaethu oddiwrth bob sectau crefyddol. Pa fodd y geill fod fel arall tra y mae ein tystiolaeth mor wahanol, pan yr oedd y cyhoeddiad cyntaf a glywsom mor wahanol? pan y mae adferiad Llyfr Mormon, ei gyfieithad trwy ddefnydd yr Urim a'r Thummim, doniau a bendithion yr Ysbryd Glân, gweinydog-

aeth engyl, a phob peth sy'n gyssylltiedig â'n crefydd, mor wahanol i'r hyn y mae y byd yn ymarfer cyhyd? Credant hwy y gwnaiff *calomel* iachâu y claf—ni chredwn ninnau, ond y gwna yr eneinniad ag olew a gosodiad dwylaw, a gweithredwn yn gyferbyniol.

Nid yw yn rhyfedd fod Saint y Dyddiau Diweddaf yn credu mor wahanol i bobl ereill, canys y mae eu gweithredoedd yn wahanol, ac y mae eu tystiolaeth yn wahanol. Credwn mewn ymgasglu ynghyd; y mae yr Arglwydd Dduw wedi llefaru wrthym o'r nefoedd, a'n gorchymyn i ymgasglu. Nid ydynt hwy yn credu mewn ymgasglu i'r lle y geill yr Hollalluog lefaru wrthynt; nid ydynt hyd y nod yn gweddio ar i'r Arglwydd anfon angel i lefaru wrthynt. Y mae Saint y Dyddiau Diweddaf yn ceisio byw i'w crefydd fel y siaradont ag angylion, derbyn gweinidogaeth cenadon santaidd o orsedd Duw, cael eu santeiddio yn eu hysbrydoedd, eu serchiadau, a'u holl ddymuniadau, fel y gorphwyso yr Ysbryd Glân arnynt, a'u calonau eu llanw ag ef, a dyfod yn addas i ddyoddef presennoldeb angylion. Bendithied yr Arglwydd chwi, a deffroed chwi ar y pynciau yma o athrawiaeth, fel y cydgordia eich ffydd a'ch gweithredoedd bob amser, ac y byddo eich bendithion yn gydradd ag eiddo pobl Dduw yn yr oesau cyntefig, yn enw Iesu Grist ein Harglwydd Amen.

---

## GWROLDEB MORMONAIDD.

O'R *Luminary*, am Awst 18, 1855, dyfynwn hanes Mormoniaeth mewn lle a elwir Fort Riley, a gymmerwyd allan o'r *St. Louis Republican.*—"Yr oedd gan y Llywodraeth gryn nifer o weithwyr yno hyd ymddangosiad y Cholera yn ei greulonderau erchyllaf Ffodd y gweithwyr wrth y cannoedd am eu bywydau, ond cwmni o Formoniaid, y rhai a arosent, nid fel y tebygem ni, i gau eu hunain i fyny a gweddio yn ddibaid, yr hyn oeddynt wedi ei wneuthur yn barod erbyn y deuai blinder, ac wedi parotoi ei hunain i'w wrthsefyll tra y gorfodid y lleill i ffoi, ond i lanhau, gwyn-galchu," &c.

Ychwanega y *Republican*:—"Pe byddai ar y Llywodraeth gyffredinol eisieu dynion a safent wrth eu post yn ddiysgog, fe'i diwellid gan Formoniaeth â dynion o'r iawn fetel, pa un a

fyddai yn fyddin i Mexico—hanner cant o wyr i Fort Riley, neu pe gofynid hanner can mil er diogelwch y genedl, ceid y cyfan gan Formoniaeth, a hèrient y byd i fod yn gydradd â'u gwladgarwch a'u dewrdra penderfynol."

---

## LLWYDDIANT YR EFENGYL YN TEXAS.

Mae llwyddiant yr efengyl yn y lle hwnw yn ystod yr hâf diweddaf wedi bod yn ddigon i amddifadu rhai o'r "synagogau" Methodistaidd o'u dyscyblion, ac hyd y nod eu hathrawon, y rhai a bregethasant eu *Farewell Sermon* iddynt, yr hyn a berodd gryn gynhwrf yn *y* "*Society*," hyd oni fygythiasant dàr a phlŷf i'r brodyr llywyddol os na adawent y wlad yn fuan, ac os na wnai hyny, y "tyllent eu crwyn" iddynt. Mor Gristionogol!

Mae y Saint mewn gwahanol lefydd yn Texas wedi adnewyddu eu cyfammodau drwy fedydd, a thra y rhwystrir pregethu gan ymosodiadau, rhegfeydd, a bygythion erchyll terfysgluoedd, y rhai sydd awyddus am ail-gyflawni gweithredoedd ysgeler *Haun's Mill*, Carthage, Nauvoo, &c., darpara y Saint oll i ffoi i Seion yr ymfudiad dyfodol, a dysgwylir y bydd llu dirfawr o honynt y pryd hyny yn canu yn iach i'w cyfeillion "Cristionogol."

---


# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

DYDD SADWRN, HYDREF 12, 1855.


Ymfudo.—"Deuwch allan o honi hi [Babilon] fy mhobl i," yw galwad Duw ar y Saint drwy enau *angel*; "deuwch allan o honi hi" yw lleisiau cenadon y nef er's blynyddau, ac, mae Ysbryd Duw yn adleisio y galwad yn barhaus i bob un a'i medda, nes codi gwewyr ar filoedd i ufyddhau iddo. "Nid ar frys na thrwy ffô," serch hyny, ebe y galwadau blaenorol, eithr "Baich" y genadwri erbyn hyn yw "I'ch pebyll chwi, O

Israel," boed y canlyniad a fyddo. Geilw ein gweledyddion o Seion yn awr, yn hir ac yn uchel,—

"Adref, adref blant yr Arglwydd,
Galwad sydd i ddod yn ebrwydd."

Bloeddia plant Seion drwy eu holl estynfeydd,—"Adref, adref eiu holl berthynasau a'n cydnabod;" adleisia copäau eiriawg y "mynyddoedd tragywyddol" yr "adref, adref" hyd gyffiniau y ddaear; ADREF yw adsain pob galwad drwy'r byd, ac adref yw ac a fydd sain uchaf a hiraf eich UDGORN chwithau Saint Cymru o hyn allan, *adref* fyddo adsain pob Sant—ADREF medd Duw ei hunan!

Mae yr amser wedi myned heibio i bigo a dethol un o'r gangen hon a'r llall oddi draw, ac i'r lleill aros ar ol i gario y gwaith yn mlaen yn y wlad hon; mae yn rhy ddiweddar yn awr i gadw yn ol unrhyw deulu o herwydd eu bod yn llettya yr Henuriaid; nid oes mwyach rwystr i swyddog na Llywydd fyned adref o herwydd fod ei eisieu yma: nid oes esgusawd yn hwy fod llôg da i gael am arian yn y Banciau yma, y fod gwel rhenti am dai, nac ychwaith o herwydd fod perthynasau yn gwgu—hen fodrybod neu famgu yn bygwth gadael eu heiddo i ereill; nac ychwaith fod gobaith am i hen gloeon rhydlyd coffrau yr oesau mynedol gael eu torri; mewn gair ni wyddom am esgusawd digonol i gyfiawnhau am esgeuluso yr alwad olaf hon. Dywedwn hyn mewn atebiad i ymholiadau mynych am gynghor ar y pethau hyn, a gobeithir y deallir ni gan bawb mai "*adref, adref*" mor gynted ag y gellir fydd ein hatebiad i bawb.

Yn y blynyddoedd mynedol nid y'm wedi annog llawer ar y Saint i ymfudo—nid oedd anghen, rhedent o'n blaen, ac nid y'm ond adleisio â'n hegni yn awr annogaethau y nef; nid arnom ni y dybyna chwaith i egluro y pam's a'r pa fodd's na'r canlyniadau na'r achosion o'r galwad brysiawg hwn; yr Hwn sy'n galw a wna hyny cyn hir; etto gallwn ni, pe baem heb reidiach gwaith o'n blaen, roddi cant ag un o resymau dros benodrwydd y galwad, a rhifres o ganlyniadau wrth eu sodlau a brofant yn eu harllwysiad ddyddordeb y galwad, ofal y Galwwr dros ei blant, a'r iachawdwriaeth o ufyddhau; nad pa un a yw chwant y Taleithiau am Cuba i godi gwewyr ar Frydain, a

rhyngddynt osod gangen-ddôr dros y môrwerydd—a yw ymdrechfa angeuol y bwystfil o "gaethfasnach" i ddiliwio y ffordd i Seion â gwaed, coch-waed du a gwyn, de a gogledd i ymgymmysgu, ynte ai melynach rywogaeth Laman sydd am ddïal gormes fy "Ewyrthr Sam," a meddiannu etifeddiaeth eu tadau yn ol: a yw Efe am ollwng awenau y march rhyfelawg i brangcio yn ol o'r dwyrain i sarnu ein gwlad dan ei garnau, ai y plâ a'r haint sydd ar fîn medi pobl ein gwlad, ynte ai y newyn du llymdost ar ol y llawnder hwn sydd am grybychu colyddion y byddariaid i'r galwad, nid yw yn perthyn i ni yn awr ei ateb. Pa un ai dyben Duw yw cael digon o "halen" i halltu y Taleithiau am enyd etto, fel y mynasai gael halen gynt i halltu ymaith ddrewdod Sodom; ai ei awydd yw yn fwyaf er cael adeiladu Seion, ei themlau, a'i hestynfeydd gyda buandra, fel y cynnysgaether ei phlant ag awdurdod a gallu i "rwymo i fyny y gyfraith a selio y fyny y dystiolaeth" yn rymusach, ynte beth yw ei resymau ef, nid yw o bwys, gallai fod myrdd o honynt.—Hawyr! pan fo daeargryn yn berwi y seiliau, y muriau yn hollti yn gyrbibion, a'r adeilad blithdraphlith yn garn ar gwympo, a sefir yn y canol i ddysgwyl pa gyfran a ddisgyna gyntaf? O, na, digon yw fod Duw yn galw; dyna paham yr ufyddha ei blant i'w arch.

Ond dywed amryw o'r Saint, "Nid diffyg awydd ond diffyg moddion sydd yn ein cadw yma; ein gofid penaf yw na ragwelwn y posiblrwydd o gael digon o arian i ymfudo. Atebwn, na chlywsom erioed sôn fod Duw wedi gofyn i'w blant wneuthur unrhyw beth ag oedd yn anmhosibl iddynt ei gyflawni, nad beth a gostiai o ymroad neu arian, ac ni choeliwn fod ein Hollalluog Dduw, yr Hwn a bïa y ddaear a'i holl fŵn-gloddiau, y môr a'i holl berlau, a'r Hwn sydd yn teyrnasu yn mhlith holl freninoedd y ddaear wedi galw ei Saint i ymfudo heb fwriadu eu cynnorthwyo, hefyd i gyflawni hyny *os* gwnant hwy eu hunain yr oll a allant tuag at hyny. Yr os hwn yw y pegwn ar ba un y dibyna yr oll; mae Duw yn helpio y sawl a helpia ei hun, ac felly y mae ymfudiaeth pob un yn ei gyrhaedd ei hunan—ni raid fod un ar ol, os bydd, ei hunan fydd i'w feio. Ni feddyliodd Duw i Noah adeiladu arch, na myned iddi, heb feddwl ei gynnorthwyo; ni ddysgwyliodd i Israel groesi y Môr Coch heb ei symud o'u ffordd, na chyflawni ei orchestion

ereill heb fwriadu yn mlaenllaw i'w helpio yn yr hyn ni allent hwy wneuthur eu hunain. Dichon y Saint o wan ffydd feddwl fod Duw yn gofyn mwy na'u gallu; ni chreda y tlawd a fedd loned ei aelwyd o blantos analluog fod yn bosibl iddo ymfudo yr oll dros foroedd a chyfandir tuag wyth mil o filltiroedd,—hawddach credu fod Duw yn "feistr caled" yn ceisio yr hyn ni all wneyd, ac o ganlyniad nid ymdrecha. Rhesymolach o lawer y gallasai ei ddyscyblion ddweyd wrth yr Iesu y byddai yn anmhosibl iddynt "ffoi i'r mynyddoedd" o Jerusalem "pan ei gwelent *wedi* cael ei hamgylchynu â byddinoedd." Gallasent ofyn pa fodd yr elent allant gan y byddai y pyrth oll yn nghauad, wrth gwrs, a phed esgynent y muriau, ai posibl iddynt ddianc drwy fyddinoedd aneirif Titus Vespasian, onid gwell fuasai iddo roddi rhyw arwydd arall a'i harweiniasai hwynt ymaith yn gynt tra yr oedd yn bosibl? Hawdd y gallasent hwythau gredu fod eu dinystr yn anocheladwy tra yr oedd mamau yn bwyta eu plant, a phawb yn sychedu am waed ei gyfaill o fewn, a myrddiynau y gelyn yn fwy gwancus fyth oddiallan. Eithr pa fodd y gwaredwyd hwynt? Eu ffydd yn ngeiriau eu Hiesu, eu hufydd-dod i'w Offeiriadaeth, a'u rhag-barotoadau cyferbyniol a ennillodd iddynt y waredigaeth. Wedi i adamentaidd gerni y muriau falurio o flaen Rhufeinig rhuthr, a gwneyd agen hyd y llawr ar gyfer y fan lle yr ymgasglasai y Saint i ddysgwyl yn ffyddiog hyd yr awr olaf am gyflawniad o addewid eu Brenin, pan ar ruthro i mewn dyryswyd y gelyn, sain ei udgyrn ei hun a'i twyllodd: yn lle "yn mlaen" chwi ddewr Rufeiniaid adseiniodd y muriau y galwad "yn ol ar frys," ac yn ol rhuthrodd y fyddin,—yn mlaen rhuthrodd y Saint, ac ni edrychasant hwy na'u gelynion yn ol nes cyrhaedd eu diogelfan yn y "mynyddoedd," nid cyn hyny y deallwyd sain yr udgorn i'r rhuthr A ddywed Saint y dyddiau hyn na ddarpara yr "Hwn a ddechreuodd ynddynt y gwaith da," ac a'u galwa i Seion drwy glariwn angel mo y ffordd iddynt hwythau hefyd? Gwna yn ddiau, *os*, meddwn etto, eu ceir yn barod i'r alwad. wedi crynhoi o'u holl grwydriadau at yr adwy—wedi diddwfn eu serchiadau oddiar deganau Babel, ac wedi *ymbarotoi.* Ië, meddwn etto, *os* yr ymbarotoant, eu gwaith eu hunain yw ymbarotoi; ni all y naill barotoi yn lle y llall, ni wna Duw y parotoadau sydd ddyledus ar y Saint

i'w gwneuthur—*cyd weithwyr* Duw ydym yn yr Ymfudiad yn ogystal ag yn mhob cyfran arall o'n hiachawdwriaeth.

Yr ymholiad mwyaf dyddorol oll ynte yw, beth yw y parotoadau, a pha fodd eu gwneir? Ein dyledswydd a'n pleser yw ateb hyn. Ysbryd Seion a'n nhertho ac a'u hargraffo ar galonau y Saint, ac a'u cynnorthwyo i'w cyflawni oll yn gyfangwbl ac yn ddioedi.

1af. Mae genym i rybuddio ein cymmydogion hyd nes y byddwn yn sicr eu bod wedi cael cyfle i ddeall pa fodd y gallant fod yn gadwedig, ac y byddwn yn sicr eu bod wedi clywed digon i'w damnio os gwrthodant. Mae genym i'w hysbysu am farnau dinystriol Duw sydd wrth y drws, ac am y waredfan hefyd. Y ffordd oreu i wneyd hyn yw drwy fucheddau cyd-weddol â'n proffes, drwy ein tystiolaethau a'n hymbiliau, drwy draethodau a chyhoeddiadau yr eglwys, a thrwy bob cymhelliadau o eiddo yr Offeiriadaeth a'r Ysbryd Glân.

2. Mae genym i chwalu yn eu plith yr holl lyfrau sydd ar law yn ein tai, y cangenau, y swyddfäau, a'r "argraffedig air" hyd y mae Duw a'ch Llywyddion, neu Dduw drwy eich Llywyddion yn gofyn. Ac nid hyny yn unig, ond hefyd y mae cyfiawnder at eglwys Dduw yn hòni ei bod yn cael talu am danynt ar frys. Credwn mai os nad y dyledwr anonest am lyfrau fydd yr olaf yn myned i Seion, efe a ddylai fod, ac os rywfodd y cyrhaedda yno, clywa y fath ddweyd llym yn erbyn anonestrwydd, fel naill yr edifarhâ neu bydd y cyntaf oddiyna "i'w le ei hun," lle y triga ei *dduw melyn*! Ofer dweyd na ellir gwneyd hyn, mae Duw o blaid y sawl a dreia yn iawn. Na feddylied neb o'r Saint ynte eu bod yn barod i ymfudo tra bo llyfrau ar law yn bentyrau yn llwydo, tra mae miloedd yn marw o newyn am y gwirioneddau a gynnwysant, a gweler y taliadau am lyfrau yn ffeithiau profadwy o awydd y Saint i ymfudo. Dylai awgrymiad ar beth mor eglur fod yn ddigon. *Diwedd y flwyddyn* a fyddo yn ddiwedd ar bob dyledion am lyfrau.

3. Darpariad anhebgorol er ymfudo yw talu ein dyledion at Deml yr Argwydd; nid yw hyn i'w esgeuluso. Rhaid fod y defnyddioldeb o honi yn hunan eglur. Da gweled rhai wedi deffroi i hyn. Gweler pawb oll wedi cyflawni eu haddunedau yn ystod y chwarter hwn yn ddiffael.

4. Deuwn yn nes at y byw yn y cynnyg nesaf. Digied a ewyllysio. ein dyledswydd yw dweyd yn erbyn yr hen arferiad andwyol sydd mor ben uchel drwy y wlad, ac yn enwedig trwy y gweithiau, hyny yw. byw hyd eithaf yr ennill. Am y sawl fo byw yn uwch nâ hyny, ni choeliwn yr amcana byth gyrhaedd Seion, eithr fod ei dduw ef, sef ei fol. yn rhy agos ato eisoes. Arferiad cyffredin yw byw yn ol a ennillir, pe yn ddwy bunt yr wythnos, rhaid eu gwario; pe deg swllt ar hugain, trueni gwneyd ar lai; pe punt, nid yw hyny ond prin digon, ac ettc, pe ond hanner hyny, gwnaiff y tro yn burion. Na feddylied ein chwiorydd prydferth ein bod ni am droi yn fradwrus i'r llywodraeth unbenaethol a feddant hwy mor hollol er's oesoedd ar y gôd a'r aelwyd pan yn cynnyg iddynt y ffordd i gyrhaedd Seion. Nid y'm heb adnabod rhai a allasent fod wedi cynilo digon i ymfudo yn gysurus; ac er ein bod ni yn casâu gweled gwraig yn dirgelu pethau oddiwrth ei gwr yn waeth nâ'r plâ na'r crafu, hawdd fyddai esgusodi yr hon a gasglai, drwy ei chynildeb, ddigon i ymfudo ei hun a'i gwr, pe heb yn wybod iddo. Pe y cynilai ond deunaw yr wythnos am flwyddyn, talai hyny gost un i'r Taleithiau. Mae cannoedd yn esgeuluso hyn a allent wneyd llawer chwaneg â rhan fawr o'u hamser yn gweddio Duw i agor calon rhywun i'w cludo, neu yn dysgwyl wrth y Gymdeithas—gweddiant yn gyntaf am oleuni i agor eu llygaid i weled faint a allant helpu arnynt eu hunain.

"O'r goreu," medd ambell un, "mi gadwa i yr hyn oeddwn yn arferol o gyfranu at achos Duw, am lyfrau," &c. Ond, aros dipyn, gwybydd mai bendith Duw ar dy lafur sydd yn dy alluogi i gael dim i'w gyfranu; pe yr yspeilit ef yn y naill i'w dalu yn y llall, pa well er hyny? Mae yn ffaith rhy aml brofadwy cyn hyn, i neb allu ei gwadu, mai drwy gyfraniadau haelionus at achos Duw yw y ffordd rwyddaf i gael yn ol o'i haelioni Ef i ymfudo.

Erbyn y cyflawnir y parotoadau hyn, hyderwn y bydd genym gyfle i hysbysu beth nesaf. Hyd oni wneir y parotoadau anghenrheidiol a ellir na ofyner ein cymmeradwyaeth ni i ymfudo.

Cynghorwn bob un a allo wneyd y darpariadau gofynol, ac a all gael modd i ymfudo i Seion, i benderfynu myned y gwanwyn nesaf, a'r sawl na allant weled eu ffordd yn mhellach nâ'r Taleithiau, eled cyn beled ag y gallo tuag yno, a thra ei galon

yn hiraethu am Seion, a'i wyneb fel y galestr tuag yno, bydd golwg ei Dduw arno, ac efe a hwylia ei gerddediad yn gyflymach nag y dysgwylia.

Methem a dirnad yr achos paham y gwrandawa torfeydd lliosog arnom mor astud, fel pe yn credu pob gair, ac etto dros eu crogi ni ddeuent i'r dwfr, yr oedd y dirgelwch o hyn yn ein synu, ond yn awr dyry y Llywydd Young allwedd y dirgelwch i ni, pan y dywed, pe'd ymfudai dwy ran o dair o'r Saint y tro nesaf, y deuai llawer chwaneg i'r eglwys na thrwy eu bod yn aros yma! Credwn hyn am Gymru hefyd! Pwy a erys yma yn hwy, i fod o felldith yn lle bendith i'r byd - i fod yn rhwystrau ar eu ffordd yn lle yn offerynau i'w tynu i mewn? Pregethwn ymfudiad i'r byd, a dywedwn am ei bwysigrwydd; gofynant hwythau am arwyddion; mae yr amser wedi dyfod i roddi arwyddion iddynt drwy ymfudo ein hunain o'u plith. Arwyddwch iddynt eich bod yn credu yr hyn a bregethwch, drwy ddangos iddynt eich cefnau yn lle eich gwynebau; maent wedi gwawdio y rhai hyny ddigon o hyd. Rhodder iddynt *arwyddion* o rym a nerth ein crefydd, drwy eich sugn-dynu i adael Babel a'u holl deganau, perthynasau er eu hoffed, a'r wlad a'u mhagodd er mor dyner ar eu bronau. Er gwawdio eu gwaethaf am hyn, yn brathu fel brathiad piccell lem o amgylch llinynau eu calonau, pan y mae ein habsennoldeb yn eu hamddifadu o'r rhai a wnant yn fychod diangol gyda phechodau a chyfeiliornadau ein holl gamgyhudwyr; diangwn ynte, mor gyflymed â'r iwrch a'r myn o blith eu pechodau, rhag dyoddef o'u pläau.

> "Adref, adref blant yr Arglwydd,
> Babel sydd i syrthio'n ebrwydd
> Megys maen i'r môr."

---

Y DDYLED AM LYFRAU.—Crefwn sylw y Llywyddion un waith etto at y dyledion sydd arnynt i'r Swyddfäau. Beth meddwch, Frodyr? A gawn ni eich sylw at y peth hwn o ddyfrif? Atebwn, ein bod yn rhwym o gael, a hyny ar frys—nid oes yn bosibl oedi yn hwy; a pho fwyaf a esgusodir gwaethwaeth y cynnydda y ddyled o hyd, os nad hefyd po leiaf a gyhoeddir o lyfrau mwyaf y cynnydda y ddyled.—*(Gwel tud. 336 o'r rhifyn hwn.*

## TALIADAU AT DDYLED CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG, O MEDI 25 HYD HYDREF 9.

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| 1. Rees Jones, Cwmafon | 1 | 0 | 0 |
| 2. Martha Jones. ei wraig | 0 | 5 | 0 |
| 3. Isaac Evans, Cwmafon | 0 | 6 | 0 |
| 4. James James, etto | 0 | 5 | 0 |
| 5. Alfred Thomas, etto | 0 | 7 | 0 |
| 6. Elizabeth Thomas, ei wraig | 0 | 5 | 0 |
| 7. John Bowen, Pyle | 0 | 10 | 0 |
| 8. Elizabeth Bowen, ei wraig | 0 | 3 | 0 |
| 9. William Bowden, Pyle | 0 | 2 | 6 |
| 10. Anne Bowden, ei wraig | 0 | 2 | 6 |
| 11. Thomas Thomas, Pyle | 0 | 5 | 0 |
| 12. William Reynolds, etto | 0 | 2 | 6 |
| 13. Lewis Davies, etto | 0 | 6 | 6 |
| 14. Mary Davies, ei wraig | 0 | 6 | 0 |
| 15. David Llywellyn, Wick | 0 | 2 | 6 |
| 16. Margaret Llywellyn, etto | 0 | 1 | 0 |
| 17. George Groves, Abercenffig | 0 | 1 | 6 |
| 18. John Jones, St. Brides | 0 | 10 | 0 |
| 19. William Davies, etto | 0 | 2 | 6 |
| 20. Anne Davies, ei wraig | 0 | 2 | 6 |
| 21. David Evans, Drefnewydd | 1 | 0 | 0 |
| 22. John Butler, etto | 0 | 2 | 6 |
| 23. Jane Butler, ei wraig | 0 | 2 | 6 |
| 24. John Davies, Abertawy (Cang. Gymreig) | 0 | 5 | 0 |
| 25. Catherine Davies, ei wraig | 0 | 5 | 0 |
| 26. William Brookes, Abertawy (Cang. Seis) | 0 | 2 | 0 |
| 27. Jane Brookes, etto | 0 | 3 | 0 |
| 28. James Hone, hynaf, Abertawy (Seisnig) | 0 | 2 | 6 |
| 29. James Hone, ieu., etto | 0 | 2 | 6 |
| 30. James Tuckfield, etto | 0 | 10 | 0 |
| 31. Catherine John, Treforris | 0 | 2 | 6 |
| 32. Thomas John, Treforris | 0 | 2 | 6 |
| 33. Anne John, etto | 0 | 2 | 6 |
| 34. Griffith Griffiths, etto | 0 | 10 | 0 |
| 35. Margaret Griffiths, ei wraig | 0 | 10 | 0 |
| 36. William Richards, Cwmbwrla | 0 | 10 | 0 |
| 37. Thomas Evans, Cwmbach | 1 | 0 | 0 |
| | £10 | 18 | 6 |

---

D.S. Mae rhai ereill wedi talu cyfran, eithr ni chydnabyddir hwynt drwy yr UDGORN, hyd oni chyflawnant eu haddewidion. Ymdrecher i gyflawni yr addunedau cyn y Gymmanfa.

Y DDYLED AM LYFRAU.—*(Parhâd o dud. 334 o'r rhifyn hwn.)* —Y ffaith alarus yw fod y Cynnadleddau Cymreig eisoes yn ddyledus i'r Swyddfa hon yn agos i chwe' chant o bunnoedd! ac nid llawer llai i'r Swyddfa Seisnig! £600! edrychwch arno! Pa le y mae eu gwerth? Beth sydd i ddangos am danynt? Ai *stock* ar law? Ofnwn fod ugeiniau, os nad chwaneg yn eisieu, yn "ddyledion personau" fel eu gelwir, yn nwylaw y Dosparthwyr, ac yma ac acw, ac yn rhyw le a phob man ond *lle y dylent fod.* Pa hyd yr oedir edrych at bethau fel hyn? Mor bell o gymmeradwyo neu ganiatâu i un llywydd i ymfudo a fo yn euog o'r fath esgeulusdod yn hwy; gorfodant ni i'w *dropio* ar fyrder, os troant glust fyddar i'n galwadau yn hwy. Nid oes eglurach prawf nad yw y Llywydd a esgeuluso hyn, ac a esgeuluso anfon i ni enwau y Cangenau a gyfranasant at y D. Y. Barhaus, eu *Balance sheet* chwarterol, &c., a ofynwn ganddynt, yn amddifaid o Ysbryd eu Swydd bwysig, ac felly ni allwn beidio bod yn gyfranog o'r marweidd-dra, y malldod, a'r felldith a ddilyna arosiad y cyfryw yn eu swyddau lawer yn hwy. Hawyr! er galw a galw drwy'r UDGORN, &c., o hyd, dros hanner Llywyddion Cymru heb anfon i ni y cyfrifon ag y gwyddont o'r goreu eu bod yn ofynol ar ddiwedd pob chwarter! Ac er dweyd nes blino am iddynt drefnu cynllun i werthu yr hen *stock*, a chael y ddyled i mewn ar frys, arosant rai mewn *whirlpool* tragyfyth, fel pe yn dysgwyl i'r peth wneyd ei hunan. Frodyr, deffrowch a mynwch weled yr holl gyfan wedi eu gwerthu, a phob dyled wedi cael eu talu i'r ddwy Swyddfa cyn y gwelwch ddiwedd y flwyddyn hon. Dechreuwch o ddifrif ar y pentwr £600 yma, a chwalwch ef o'ch golwg ar frys.

---

☞ Gorfodwyd arnom, o ddiffyg lle, i adael allan y taliadau am lyfrau, &c., &c., hyd ein rhifyn nesaf.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 22.] HYDREF 27, 1855. [CYF. VIII.


### YR AMSERAU AI FURGYN YN EI GEG!

Y FFUG-CHWEDL OLAF—Y BWCCI BW HYLLAF a'r burgyn ffieiddiaf o ysgerbydau yr oes wrth-formonaidd hon yw y traethawd a broffesa roddi "hanes bywyd benywaidd yn mhlith y Mormoniaid," gan un a gyfenwa ei hun yn "Maria Ward," ac a ddywed, "ei bod hi wedi bod yn wraig i Henuriad o Utah;" ac er ein bod ni wedi darllen yr oll a allem gael gafael ynddynt o fryntni yr aflaniaid awdurol a golygyddol yn mhob iaith a ddeallwn, er's dros ddwsin o flwyddi, a gorfod gwasgu ein ffroenau yn dỳn aml dro, tra yr analisiem golyddion drewedig eu *bug bears* gwrth-formonaidd i chwilio am friwsionyn o wirionedd, cyfaddefwn mai y cwdyn bawiawg hwn yw yr aflanaf o'r oll. Arogiasom ei ddrewi o bell er's llawer dydd, tra y gwleddai golygyddion yr iaith arall arno, fel pe yn *sower-crout* danteithiol. Pan y chwythodd corwynt gorllewinol ei sawyr dros y môr, rhagwelem mai *suckertash* ardderchog yr ystyriai chwaeth aflan y Saeson ef; etto mor gasod oedd genym ymyraeth a'r fath nythfa cynrhon fel yr oedasom gyffwrdd ag ef, hyd nes gweled Golygydd yr *Amserau* wedi cydio yn yr ysgerbwd a'i ddannedd, ac yn sugno ei sugn, cynrhon a'r cyfan i lawr i'w gylla gwancus hyd braidd dorri ei fola; nac wedyn, pe na welsem ef yn llyfu ei wefiau ar-ol y saig, ai glywed yn gwaeddi ar ei gymmydogion i gyd-wledda ag ef ar y danteithion ni buasem yn ceisio, hyd y nod a phicwarch nac a gefail gôf i'w dynu oddi rhwng ei ddannedd. Ac ni

ddymunwn y bydd i'r hyn a swlwa arno yn awr droi chwaeth adar aflan oddiwrth y burgyn ag y cyfaddaswyd eu cylla iddo, eithr gobeithiwn y gwleddant ar y celwyddau a garant; maent mor angenrheidiol yn eu lle ac i'w dyben bwrpasol, er puro awyr gwlad ag yw pob *scavengers* ereill. Ein hunig amcan with roddi ein mhenig am ein dwylaw ac awchu ein cyllell i agor bola y burgyn hwn yw er argyhoeddi yr adar glân o bell, drwy ei sawyr, i ymswyno rhag dyfod rhy agos atto rhag llygru eu chwaeth i'w chwantu, fel y gwna Mr Lloyd druan. Gan fod yr *Amserau* wedi colli ei arogliad os nad ei drwyn hefyd, a chodi y fath aflendid i halogi yr awyr iachus a chwifiai ar hyd bryniau Cymru, codwn ninnau dipyn o chwâ oddiar fryniau gwirionedd i chwythu ei ddrewdod yn ol tua *rookeries* yr adar ysglyfaethus.

Dangosodd awduron a golygyddion rhyw awydd anghyd-mharol er's blynyddau i ddychymygu rhyw sothach, ac i greu bwganod digon erchyll i ddychrynu pobl rhag chwilio i "Formoniaeth." Maent wedi bod mor ddiwyd, fel nad oes ystori a gynlluniwyd yn yr Amerig er eu hamled, un cyhuddiad er mor ddued, nac un celwydd nad pa mor eglur heb gael ei gylchrediad ai gynnorthwyo ar ei wyb-daith yn eu cerbydau; ac wedi gyru yr olaf o hyd, a chwt gyda hi, clystfeiniant am ychwaneg o gelwyddau gwrth-formonaidd o dros y moroedd, neu draw o rywle, 'dyw waeth o ble, rhaid eu cael fel cymaint o saim i seimio olwynion eu troellau cabl-draethawg; a phan oedd eu potel olaf ar ddarfod—gwaelod y bledren yn sychu a'r siol yn penblethu am rywbeth chwaneg, wele gymhorth mewn pryd wedi dyfod! Hwi, ac ati hi yn awr! Gwrth-brofwyd eu cam-gyhuddiadau mor effeithiol nes gorfod gan gywilydd eu gadael heibio, etto rhaid cael un newydd, ac er na feiddiant wadu y gwrthbrofion ni chyhoeddant byth mo un o honynt, eithr ysgubant gonglau *hades* ei hun am faw a huddygl i bardduo ac i luchio i lygaid Mormoniaeth. Ond mae y cyfan yn cael ei chwythu i'w llygaid eu hunain yn ol, nes maent yn cwyno fod y Mormoniaid yn chwerthin am eu penau. Druain o honynt! Ni ddylai y Mormoniaid chwerthin er dim, yn enwedig am benau y deillion sydd wedi bod yn treio lluchio baw i'w llygaid hwynt o hyd. Galwant am help, help o ryw le

gan ryw un yn erbyn yr hyn a gasant hwy; eithr mae eu lleisiau megys dyfnder yn gwaeddi a'r ddyfnder—yr atteb yw, adsain distawrwydd. Diflanodd bradwriaeth y Llywydd Young, dystawodd celaneddau Brochus & Co., darfu eu gobbaith yn Col. Steptoe i ladd y Saint a llyngcu Utah. Yn lle profi fod y Saint wedi lladd Gunnison cliriwyd pob ystaen a ddwbiasid arnynt a gwarthruddwyd eu gelynion pendefigaidd y'm mwthod y brodorion fel nad oedd ond "Paent, gwrthbanau a drychau," a ad-dalai i'r Indiaid am garwriaeth y Swyddwyr Americanaidd a'u *squaws* o dan eu gwrthbanau. Er gwaethaf gerwinedd pob cyhuddwr dylifai y gwir o aml gwr i foddi ei lid ym monwent y celwydd; eithr yn awr gwyliwch! Safwch o'r ffordd chwi Formoniaid, am eich bywyd ciliwch, dyma Mr. Lloyd a'i *Amserau* yn eich erbyn fel cawr, nage, *cawres* a ddylasem ddweyd, ac er y cyfaddefai nad "CYWIR," sylwer, yw yr hanes, eithr ynte mai *ang*hywir yw o anghenrhaid, sef celwydd. Peidwch a bod mor *bashfull* Mr.Lloyd er mai boneddiges yw eich bwli, ni wrida pe siaradech yn eglur ac mor ben uchel ac y dywedwch yn erbyn y gwir, mai *celwydd* yw; etto meddwn, addawa gyhoeddi pennodau o dro bwy gilydd yn yr *Amserau* o'r hyn a gyfaddefa yn *gelwyddau*; ac ar yr un anadl cwyna fod Mormoniaeth yn "gwarthruddo Cymru!" Yma mae "yn hidlo gwybedyn ac yn llyngcu camel." Barna pob dyn geirwireddus, debygwn, mai cyhoeddi am wirionedd yr hyn a gyfaddefa yn gelwyddau yw y peth *gwarthusaf* a ddichon hyd y nod golygydd gwrth-formonaidd wneuthur. Gadawn rhwng yr hen gyfaill ai ddarllenwyr i derfynu y ddadl ynhylch beth yw ei ddyben a'i amcan ef yn eu porthi a phenodau o lysnafedd a gyfaddefa yn gelwydd; os gallant hwy goelio y llesola efe hwynt drwy hyny ystymog dda iddynt wledda ar y gelain.

Clywsom son am lyfr ag yr oedd profiad o hono yn ddigon i droi ystymog—arall a deilyngai ei lyngcu, ac arall a raid ei gnoi, eithr dyma lyfr sydd yn felys i eneu ein Gol., ac a dry yn wermod yn ei fola. Mae yn hynod o "ddyddorol" ebe efe; ydyw, mae dynoethi dirgelwch menywaidd, adrodd am eu treisiad, desgrifio amgylchiadau ag y gwridai y dyn diwair eu henwi, a chodi peisiau menywod am eu penau; ydyw mae holl buteindra ac aflaneiddwch ein gwlad yn profi fod llyfr cyflawn o

hau felly yn "ddyddorol" iawn gan rai o'r chwaeth hono. ac mae yn ddigon dyddorol gan ein cyfaill i'w arlwyo yn ddysgleidiau i giniawa ei ddarllenwyr arno ar ford yr *Amserau*. Hawyr! Peidiwch a synu wrth halogrwydd ein gwlad tra bo *pictures* aniwair a gwrthun fel hyn yn "ddyddorol" gan eich golygyddion. "Ni wyr efe am ddim a all fod yn fwy effeithiol tuag at roddi attalfa ar y cefnllif llygredig hwn." *Celwydd* roddi attalfa a'r beth llygredig, aie, Mr. Lloyd? Ow druan, tân ddiffodd tân—dyna *logic!* Cawn ganddo hefyd enghraifft o "ffeithiau" *ang*hywir! Pa fodd y gwyddoch chwi, Syr, "ei fod i gyd yn sylfaenedig ar ffeithiau?" Ni phrisiwch eich geirwiredd nemawr, pan feiddiech haeru fod unrhyw chwedl o'i fewn wedi cael ei sylfaenu ar ffaith, ac ni chymer i ni ond amser byr brofi eich bod wedi fforffetio eich geirwiredd eisoes yn eich awydd i ddrwg-liwio eich cyd-ddynion a'r grefydd a garant yn fwy na'u heinioes. A pha brofion sydd genych fod y llyfr yn wir? Nid yw ei wrth-Formoniaeth yn ddigonol brawf yn awr fel y bu i chwedlau ereill lu, gŵyr pawb well yn awr. Nid oes gan Mr. Lloyd gymmaint ag enw awdwr y llyfr a gymerth fel asgwrn-gen asen Samson i dreio lladd miloedd o'i gyd-genedl! Go wael yw llyfr dienw; cywilyddiai ei dadws ei arddel fel braidd pob bastard, ond dyma hwn wedi cael tadmaeth Llwydaidd a golygyddol—gwr o Gymro hefyd! Wel, pwy yw ei fam wyddys? Ust! oni chyfaddefa hi ei hunan, ei bôd hi wedi colli ei chymmeriad, a chael ei hysgymuno allan o dŷ ei rhieni, naill ai am ei diweirdeb neu am rywbeth arall; o leiaf erlidiai ei theulu hi ymaith o herwydd eu gwarthruddo ai ffaeleddau, ebe hi ei hunan, a'i charwr a droes yn elyn gwaethaf iddi. O wydd pa rai y ffodd am ei heinioes yn ddirgel cyn gweled rmoniad erioed. A hon yw awdures ein cyfaill! Gwir yr hen ddiareb, "Putain sy'n gwaeddi putain gyntaf," felly y yn a gynllyniodd yr holl dusw a gribwn a ddechreuodd ei stori gyda phutain, ac ni cheir nemawr ddim arall ganddo yn ystod ei lyfr ond puteinio, puteiniaid a phuteinio. ac ni allwn gredu y coelir ef gan neb oddieithr gan buteinwyr a phuteiniaid,

Dywed ddarfod i Formoniad o'r enw Ward, ei swyno yn y Gorddu yr olwg gyntaf, erbyn ei gwaethaf. Unig oedd raid ei

bod hi yn arferol o gael ei swyno? Ond, ebe yr ymholydd, pwy yw y Mrs. Ward yma? Er na allwn atteb yn gadarnhaol gallwn sicrhau drwy yr adnabyddiaeth a feddwn o Formoniaeth nad oes, ac na fu neb a leinw nac a lanwodd y cymmeriad yna, nac o'r enw yna yn eu plith. Nid oedd yr un sant na santes o'r enw Ward yn Nauvoo, yn Kirtland, na Missouri, nac yn myned i Utah. Adwaenem un o'r mynyddwyr a fu yn byw yn mhlith y Snake Indians er's tua 17 o flynyddau cyn mynediad y Saint i'r wlad hono, o'r enw Barney Ward, cawsom adnabyddiaeth o hono, ac ni feddai wraig ond *squaw* o'r llwyth hwnw; ac ni chreda hyd y nod Mr. Lloyd mai hono yw ei awdures gampus, coeliwn! Etto, herriwn ef i brofi fod arall o'r enw Ward yn mhlith y Saint yn amseryddiad ei lyfr. Buasai genym ni ormod o barch i gymmeriad y lliaws gwragedd ag y mae y cyhoedd mor haelionus a'n anrhegu â hwynt fel ag i ganmol benyw fel y gwna Mr. Lloyd a hon, a hithau yn cyfaddef ei bod hi wedi cyd-fyw am flynyddau â llofruddwyr, yn gyfeilles monwesol i ladron, puteinwyr, bradwyr, a phob math o ddrwg-weithredwyr; byddai unrhyw fenyw meddwn, a allasai dreilio blynyddau yn mhlith y fath bobl yn wirfoddol, pan y gallasai eu gadael pryd y mynasai yn St. Louis, neu unman yn y wlad rydd hono, yn rhy amheus ei chymmeriad i'w choelio llawer llai ei chanmol, na chymhell ei chwedlau ar ereill am wirioneddau; llawer addasach lle iddi fuasai y gwallgof-dŷ, neu y *penitentiary* na bod yn wraig i unrhyw Formoniad. Mae hi nid yn unig yn warthrudd i'w rhywogaeth am godi eu peisiau dros eu penau o hyd, ond yn warth i ddynoliaeth am dŷnu eu sylw at yr hyn a gelodd eu creawdwr doeth o tan gochl.

Chwedal y *New York Times*, a phob newyddiadur arall a fedda ronyn o synwyr gymmaint a hedyn mwstard, ni choeliwn mai benyw a wnaeth y llyfr, eithr fod yr enw a'r hyn a gyfenwa Mr. Lloyd yn *ffeithiau* yn ffug trwyadl—heb sail iddynt mewn gwirionedd. Yn mhellach, ni allwn gredu mai Americaniad ai gwnaeth, ond mai rhyw "Barchedig" newydd dirio o bellder byd ar lewygu, ar pethau cyntaf a foddiodd ei drem aflan oedd rhai o'r mil pamphletach anwireddus a wnaed yn erbyn Mormoniaeth, o'r rhai y gwnaeth ei ŵr-gwyllt dan sylw; un

rheswm dros hyn yw y ffaith, na chawsid nemawr grwt yn yr ysgol yn ddeuddeg mlwydd oed, ar na wyddai yn well am ddaearyddiaeth y wlad a thrigfanau yr Indiaid; mae hanes y Mormoniaid yn bnr adnabyddus, ynghyd a'r gwahanol fanau y sefydlasant ynddynt, a'u teithiau. Mae awdwr y *Romance* hon wedi arddangos anwybodaeth gwarthus, fel y profwn yn union, am y bobl a gyhudda, eu harferiadau, eu crefydd ar oll a berthyna iddynt. Arbedasai cipdrem ar unrhyw ddarlun o'r Taleithiau lawer o'r gwarth a'r cywilydd a ddysgyna ar yr hwn a gyhoeddodd y ffug-chwedl aflan hon ai gefnogwyr. "O na ysgrifenai fy ngelyn lyfr," ebe Job. Cymhellai synwyr dyn ef i gredu na buasai anghen gwell canmoliaeth i Formoniaeth na chael gan *elyn* gyhoeddi "llyfr" fel hwn, etto mae hyd y nod hwn mor "ddyddorol" gan elynion, fel mai po fwyaf y celwyddau mwyaf eu hymdrech i'w ganmol ai ledaenu, er dangos eu ffolineb drwy hyny. Ychydig enghreifftiau a roddwn y tro hwn o ffolineb y chwedl hon, gan adael i bob un farnu y gweddill o'r llyfr drosto ei hun. Mae yr awdwr wedi astudio llawer i gelu amseryddiad, enwau y lleoedd heblaw ei enw ei hun fel yn bwrpasol i guddio y ffug; er hyny bradychodd ei hun ddigon i'w gondemnio ei hun yn yr hyn a ganlyn:—

Tud. 12—Cawn hi mewn ystafell mewn cwrdd Mormonaidd ar ol hanner y nos; nid oedd yno ond un ganwyll fechan yn y cwr eithaf, na digon o oleuni i ganfod gwahaniaeth rhwng gwryw a benyw.—Tud. 13—Dywed y gwelai hi serch hyny ddigon eglur i weled dros ben y cyfan wyneb-pryd Joseph Smith, a hyd y nod liw ei lygaid; a dywed mai "llygaid duon treiddgar" oedd ganddo! ond gwyr pawb a'i gwelodd, a dylai y sawl a ddarllenodd ei hanes wybod mai llygaid pur oleu oedd gan J. Smith. Er fod yr ystafell rhy dywyll iddi weled y rhai oedd o amgylch iddi, gwelai y fenyw farw a ddygasid i mewn, yn cau ac yn agor ei hamrantau o'r cwr eithaf, gweithiad ei gwythienau, ysgogiad ei gwefusau a phob manylrwydd fel pe ynghanol goleu canol-ddydd!—Tud 15—Dywed i ni mai J. Smith oedd un o ymarferwyr boreuaf Mesmeryddiaeth; druan o honi! gwyr y cyhoedd fod llyfrau lawer am hyny yn gyhoeddedig cyn ei geni hi, a gwyr pawb a ddarllenasant hanes Mr. Smith, ei fod ef yn hollol elynol i wneyd un dim â

Mesmeryddiaeth, a gwyddom ni drwy ei glywed yn rhybyddio ar bregeth yn erbyn Mesmeryddiaeth i ochelyd rhag hyny, nad oedd efe yn gwneyd dim a'r fath beth.

Hysbysa ni fod Mrs. Braddish, arwres y chwedl, wedi lladd dau ddyn yn Nhalaeth Efrog Newydd. Pwy oeddent? Beth oedd eu henwau ? Pwy all ddweyd ? Nid yw llofruddiadau mor gyhoeddus yn cael eu pasio mor ddisylw a hyny yn y Taleithiau. Yn awr Mr. Lloyd attebwch chwi. ei chefnogwr a'i chyfieithwr, drosti. Pa le, amser, neu pwy oedd y ddau a laddwyd? O Dalaeth Efrog Newydd arweinia hwynt i'wlad yr addewid yn Illinois? Neidiodd drosben Ohio heb ei gweled, cysgodd tra bu y Saint yn adeiladu Dinas Kirtland a'r Deml yno, bu mewn llesmair tra yr aethant oddiyno i Missouri, ac am y blynyddau y buont fyw yno cyn erioed osod eu traed i lawr yn Illinois. Neidia dros amryw flynyddau o hanesyddiaeth yr Eglwys, ac ni ddyry i ni hanes dim yn y cyfamser ond fod Joseph Smith wedi teithio yr holl ffordd a Efrog Newydd i Illinois, dan ffugio bod yn hen ŵr pedwar ugain oed! ac nad oedd neb drwy'r holl bellder yna, er myned drwy drefydd lawer yn gweled gwahaniaeth rhwng llanc a hen ŵr penllwyd. Mewn un man cawn ferch ieuanc yn marw yn y fan ddim ond drwy iddo ef ddweyd wrthi am farw ! Pw ! Mr. Lloyd, ple mae y synwyr a feddech er's talm? Wed'yn, cawn yr hen ŵr penllwyd yn eistedd ar fôn pren, merch ieuanc a ddaethai i'r gwersyll ychydig fynydau yn flaenorol o dref gyfagos, ddim ond iddo sibrwd yn ei chlyst am fynyd yn gadael tad a mam, brodyr a phawb, a hyd y nod ei hanwyl gariad a'i dygasai yno, ac yn dianc gyda y dieithriaid hyn yn ddiarwybod iddynt oll ! *Compliment* go wael i'r rhyw fenywaidd yw dweyd fod un sylldrem o eiddo Mormoniad yn eu swyno mor belled a myned a'u serch oddiar eu gwŷr, plant, rhieni, cartref a phob peth arall. A goeliwch chwi y gallai rhyw un hudo eich gwraig, neu eich chwiorydd chwi felly Mr. Lloyd? Cywilyddient eich clywed yn cyfaddef hyny am danynt debygwn. Ac etto—pa fain gwahanol y'nt hwy na'r cyffredinolrwydd o'u rhyw?

"Nid oedd yn y dref Formonaidd ond tua 50 o fwthod." Attebwn,—Mai o Missouri y daeth y Saint i Illinois, ac nid Efrog Newydd, ac i Nauvoo y daethant; a chyn cael eu

halltudio oddiyno, yr oedd y ddinas yn bump milltir o hyd, ac o ddwy i ddwy a hanner o led. Yr oedd yn ddinas freiniedig, a chanddi ei Mhaer, ei llys dinasol, a thros ddeng mil o drigolion. Yr oedd ynddi lawer o siopiau mawrion, ac agerfadau wrth ei glanau yn ddyddiol. Eithr dywed y Mrs. Ward hon i ni nad oedd dilladau na nwyfau i'w cael yno, ond y mwyrif yn droednoeth a charpiog; un nodwydd yn y dref, a nemawr waith i hono, a phigau drain oedd pinau y wlad, tra ar yr un anadl dywed fod yno siop gan J. Smith. Gwyddom ni fod y wlad am tuag ugain milltir wrth ddeuddeg oll braidd yn meddiant, ac yn cael ei llafurio gan y Saint, a pha fodd y dysgwyliwch i ni gredu sothach eich llyfr Mr. *Amserau* yn groes i'r hyn a welodd y llygaid hyn, ac a wyr pob migwrn ac asgwrn ynom drwy brofiad? Ni ellwch ddysgwyl i ni. Pa fodd y gofynwch i ereill ynte? Ai eu hanwybodaeth hwy, a droa y celwydd yn wirionedd iddynt hwy a chwithau? Os nage, peidiwch dyfynu eich *penodau* o'r fath *sink-hole* lygredig i hyder eich darllenwyr onide, mor sicr ag y gwnewch cospant chwi am hyny yn y carchar lle na ddiangwch o hono, os nad cynt. Ond dychwelwn :—Pwy erioed a glywodd son am "fanc" Nauvoo cyn i'r awrès hon ein hysbysu am dano? Dim gair o hyna yn wir chwaith gyfaill, ni bu gan y Saint ariandy yn un man yn Illinois. Bu ganddynt bartneriaeth mewn ariandy er's amryw flynyddau cyn dyfod i Illinois, tra yr oeddent yn Kirtlant, Ohio. Eithr nid at hwnw y cyfeiria hi, canys, ni wyr hi ddim am yr hyn a gymmerodd le yno yn ysbaid yr wyth mlynedd y bu hi mewn*trance*, wrth gwrs. Os bu yno fanc tebyg fod iddo filiai, ac efallai y gall gwr mor gyhoeddus a Golygydd *Amserau* Cymru gael gafael yn rai o'r biliau er prawf o'r haeriad; hyd hyny gwadwn ni ef yn hollol.—Dengys ein hanesydd ei anwybodaeth cywilyddus am drefniad cyhoeddusaf yr eglwys yr ysgrifena am dani; er enghraifft, haera "fod Joseph Smith yn trefnu busnes yr eglwys ei hunan, a THRI o gynnorthwywyr." Nid yw hyn amgen na *nonsense*, a digonol brawf na welodd yr hanesydd mo Joseph Smith, ac na wyddai ddim am dano ef na'i gynghorwyr. Yr oedd ganddo ddau; nid erioed DRI!

*(I'w barhau.)*

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

## DYDD SADWRN, HYDREF 27, 1855.

NEWYDDION O UTAH.—O'r *Mormon*, y *Luminary*, y *Star* yn nghyd ag o amryw lythyrau, lloffwn yn mhlith llaweroedd o newyddion dyddorol a chysurlawn ereill fod "yr Hwn sydd yn dal y wyntyll yn ei law i lwyr lanhau ei lawr dyrnu," ar ol chwythu lliaws aneirif o geiliogod y rhedyn i ddifa cnydau, Utah; ar ol adgyfnerthu eu byddinoedd hwynt â'i locustiaid er dychrynu yr annuwiolion ymaith, yn ddiweddaf wedi anfon y pryf y rhŵd i fwyta y cloron, ac wedi i'r oll ynghyd wneuthur y wlad yn anrhaith fel nad oedd yn aros obaith amgen nag i'r newyn du ddifa y trigolion; wedi i'r holl wyntyllau hyn lwyr ysgubo ei lawr dyrnu meddwn, o'r us, y topion tops, a'r gwellt; y rhagrithiwr, y diffydd a'r ofnog Efe a agorodd ei ddwrn o'r hwn y gollyngodd allan ddeheu-ŵynt aruthrol ac a ysgubodd o'i flaen yr holl ddifäwyr ehedegog i'r Llyn Halen, ac a'i boddodd hwynt yno, fel y boddodd efe boenydwyr Israel gynt yn y mor coch, hyd nes y golchir eu hysgerbydau gan y tònau beilltion ar hyd ei lanau yn domenau, mewn manau yn droedfeddi o drwch. Gofalodd eu bod hwynt wedi cyflawni eu cenadaeth, sef gyru yr annuwiolion o'r wlad, serch hyny, cyn diweddu eu gyrfa; a mawr yw llawenydd ffyddlon blant Seion, y rhai mewn ufydd-dod i lais eu "Mhoses" y dyddiau diweddaf, fel y Moses gynt rhwng creigiau danneddog Baalsephon a Phiahiroth pan garlamai yr Aiphtiaid ar eu hol, ac y bygythiai tònau creulon y mor coch eu mynediad yn mlaen a waeddodd, "safwch a gwelwch iachawdwriaeth yr Arglwydd." Yn llawn mor siriol a ffyddiog dywedir fod Saint Utah, o hyd yn teimlo ynghanol y gyflafan a fygythiai eu dinystr. Yn brydlawn, er holl ddarogan a chrechwenau ein Haiphtwyr nin-

nau gofalodd eu Duw am danynt—gwaredodd hwynt o'r tis, ac o'r gwyntyllau a'i nithiodd ymaith; planasant eu hadau drachefn, ac y mae pawb yn cwbl gredu y bydd ganddynt ddigonedd o luniaeth i'w cynnal hwy a'r Saint a elant yno atynt; ond ni bydd dim i'w werthu i fyddin felldigedig arall fel yr olaf, nac i estroniaid a ânt yno i auafu chwaith. Onid yw yr holl ofal gwyrthiol hwn a ddengys Duw dros Seion yn ddigon i wneyd i hyd y nod Offeiriaid a Golygyddion Babilon a'r Aipht, y rhai a brophwydent mor ëofn mai barn Duw oedd hyn oll, i newid eu tôn, ac i gydnabod ei ofal Ef dros ei blant yn y cyfyngder olaf, rhaid eu bod tu-hwnt i argyhoeddiad. O leiaf cyflawna Efe yr hyn a ddywedasom yn ôl rifynau yr Udgorn, ac mor gyhoeddus ag y gallwn yn mhob man, sef, mai *bendith* nid "*melldith*;" trugaredd, nid "*barn*" ar ei blant oedd hyn, ac y diwallai Efe eu hangenrheidiau. Fe gwblheir y gweddill o'n geiriau hefyd, y rhai a ail adroddwn yn groew, sef, y daw yr holl fyd i ymofyn ymborth gan "Joseph," er iddynt ei alltudio o'u cyffiniau cyn y dychwela efe i ofyn cerdod ganddynt hwy.

Mae ty-newydd y Llywydd Young braidd wedi ei gwblhau eisoes, lluoedd yn gweithio yn brysur ar y deml a'i seiliau eisoes tuag wyth troedfedd i'r lan; mae swyddfa newydd yr Ysgrifenydd a Hanesydd yn cynnyddu yn gyflym; Ysgoldai a Senedd-dai gwychion yn carlamu i'r lan am y cyntaf yn Ninas y Llyn Halen Mawr, ac yn amryw swyddau ereill.

Mae undeb, cariad a ffyniant cyffredinol yn mhlith yr holl weddill o'r Utahaid ffyddlon a mwy o Ysbryd Duw yn eu plith nag erioed o'r blaen. Ac nid yn eu plith hwynt yn unig, eithr mae Duw yn tywallt ei Ysbryd yn nerthol ar y Lamaniaid yn ol ei addewid i Abraham, denfyn ei angylion i'w plith a thrwy weledigaethau a breuddwydion darpara eu calonau i dderbyn y cenadon a anfonwyd i'w plith, hyd nes y mae llwythau cyfain braidd mewn manau yn ufyddhau i'r efengyl. Bedyddiodd W. W. Willis yn ddiweddar dros ddau cant o'r Pa-Utahs ar y tro. Dywed arall fod dros dair mil o'r *Cheyenes* yn dymuno iddynt eu haddysgu hwynt mewn Amaethyddiaeth, Duwinyddiaeth a phob aeth arall a'u llesola. Mae plant cochion y goedwig yn gorfoleddu yn y mwynhad o'r bendithion dwyfol a sarna "Cristionogion"-gau dan eu traed, a thra mae yr olaf yn cyfrif

y Llywydd Young y dyn gwaethaf yn y byd, mae llwythau Ephraim drwy'r cyfandir yn deall yn burion fod "yr Ysbryd Mawr" yn llefaru drwyddo er eu lles fel y profant drwy ddyfod rai o honynt hyd y ffordd o Oregon ato i ofyn ei gyngor mewn cyfyngder. Mae afiechyd megys plâ yn rhedeg drwy rai llwythau cyfain braidd lle yr aeth y cenadon, ac mor gynted ag yr arddodant eu dwylaw ar eu penau iacheir hwynt yn y fan yn ddieithriad braidd, yr hyn sydd yn cryfhau eu ffydd yn fawr. Maent nid yn unig yn heddychol ond yn dyfod yn frodyr un-ffyddiog ac un-galon âr Saint ar frys.

Aeth Thomas Williams a gwerth yn agos i ddau can mil o ddoleri o nwyfau i Utah eleni, heblaw dros fil o wartheg a 130 o bedrolfeni. Dygodd Livingston a Kinkade 80 o bedrolfeni, yn cynnwys gwerth cant a deugain mil o ddoleri, heblaw 50 llwyth gan Gilbert a Gerrish; 29 gan S. M. Blair; 25 gan Snow, &c. Felly, gwelir nad raid fod y Saint yn ddiffygiol o na dillad nac ymborth chwaith ar ol y cwbl a ddaroganir am eu newyniad; ac nid yw y Marsiandwyr hyn yn dangos cred yn mhroffwydoliaethau gau-brophwydi Brydain, sef, y bydd raid i'r Mormoniaid adael Utah!

Galarus genym hysbysu ddarfod i'r Prif Ynad Leonidas Shaver farw, ar y 29ain o Fehefin, o glefyd yn ei ben a achoswyd drwy gasgliad. Ennillodd yr Anrhydeddus Shaver ymddiried ac anrhydedd mawr yn Utah; a chafodd y parch a deilynga ei fuchedd ddifrycheulyd ei gyfiawnder ai ddyngarwch hynod ei ddangos i'w weddillion drwy angladdiad anrhydeddus. Ymunodd holl awdurdodau y Llywodraeth a'r Eglwys i dalu y parch olaf i'w goffawdwriaeth.

Ysgrifena y Llywydd Snow, o Ash-hollow, dyddiedig Awst 14, pan ar ei daith i'r Dyffryn, gyda chyflymdra y Mail fod yr holl wersylloedd o'r Saint a welsai yn iach ac yn teithio yn mlaen yn gysurus. Yr oedd y pump gwersylloedd blaenaf etto o'i flaen, a dysgwyliai oddiweddyd yr olaf o honynt tua Fort Laramie. Ymddygasai yr Indiaid yn garuaidd iawn at yr holl ymfudwyr, ac etto ofnai y teithwyr gwrth Formonaidd ac hyd y nod y Mail deithio yn eu plith heb osgordd filwrol. Gwnelai y Llywodraeth ddarpariadau prysur drwy gludo ymborth, a milwyr i'r gwahanol Forts ar y plains i ryfela â'r Indiaid;

gwnelid hwynt yn barod i gychwyn ar ryfel-gyrch am 60 niwrnod yn erbyn yr Indiaid. Mae y Dwymen Felen yn ysgubo pobl Norfolk a Portsmouth o'i blaen i'r byd arall mor gyflym, nes dychrynu ymaith bawb a allo fyned o'r lle braidd, achwynir mai y "Bugeiliaid" sectyddol yw y blaenaf i ddianc a gadael eu praidd yn y fath gyfyngdra.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH YR HENURIAD THOMAS C. MARTILL.

*Dinas y Llyn Halen, Meh.* 30, 1855.

Anwyl Frawd Jenkins,—Cyrhaeddodd y rhan flaenaf o'n cwmpeini ni Ddyffryn y Llyn Halen ar y 23 o Fedi. Wedi dyfod i olwg y dyffryn gyda'r rhan flaenaf o'r cwmpeini, dychwelodd y brawd John Evans a minnau i gyfarfod y rhan olaf, a chyrhaeddasom y ddinas ar y 25ain. Pwy a fedr ddesgrifio y llawenydd, a orlenwai ein mynwesau pan gawsom gip olwg a'r y lle? Syrthiasom ar ein glyniau mewn diolchgarwch ger bron Duw. Mawr yw ein dyledswydd i'w ganmol am ei ryfedd ddaioni a'i ras tuag at y rhai a ufyddhant i'w orchymynion. Synod a rhyfedded pob perchen synwyr wrth ganfod y ddoethineb a'r gallu a amlyga yr Arglwydd yn Seion! Yr hyn a ystyriwyd yn anialwch ychydig amser yn ol, sydd yn awr yn blodeuo fel rhosyn. Nid yn unig y mae y tir yn ffrwythlawn, yr hinsawdd yn iachus, a'r lle yn hawddgar, ond y mae ymarweddiad y mwyraf o'r preswylwyr yn nefolaidd; yma y ceir addysgiadau nefol a gwerthfawr! Yma y caiff pob dyn gyfleusdra i'w adnabod ei hun. Dyma ddinas ffyddloniaid—noddfa i bob dyn gonest; eithr gocheled y rhagrithiwr, y puteiniwr, a'r neb a gymero enw Duw yn ofer! Nid oes yma ddinas barhaus i'r neb ai haloga ei hun. Er pan yr wyf yma yr ydwyf wedi cael y cyfleusdra i gyfaillachu â'r Llywydd amryw weithiau.

Nis gwn pa fodd i roddi desgrifiad o hono yn well na dywedyd fod pob cymhwysder wedi cyd-gyfarfod yn yr un person, hwnw yw Brigham Young. Y doethaf, y penaf, ar tebygaf i Dduw o'r neb a ddychymygoedd eich calon am dano. Nid oes tan haul y nef well pobl na'r mwyrif o breswylwyr y dyffryn

hwn, na, nid oes eu cyffelyb ond y saint o begwn i begwn byd. Er fod y lle hwn yn rhagori efallai ar bob lle arall, y mae yma rai tychanwyr fel ag y sydd wedi bod yn mhlith Israel yn mhob goruchwyliaeth o'r byd. Rhai wedi derbyn tystiolaethau cedyrn o ddwyfoldeb y grefydd tra yn yr hen wlad, oeddent mor frwdfrydig a ffurfio drychfeddyliau anghywir, ac afresymol o berthynas i Seion. Tybient y byddai i'r Arglwydd i anfon angylion i adeiladu tai, plannu gwinllanoedd, &c.; ac na fyddai gan y Saint orchwyl amgen nag ymbortbi a'r ffrwythau, yfed gwin, mwynhau arogl peraidd y llysieu a'r blodau, &c. Pan ddeallodd y cyfryw fod preswylwyr Seion yn hau ac yn medi; ac mai drwy odro gwartheg y maent yn cael llath yma i wneyd ymenyn a chaws, siomwyd hwynt yn ddirfawr. Deallwyf fod rhai Cymru yn y fath siomedigaeth wedi rhoi anair i'r wlad. Eithr y maent yn awr yn edifarhau, ac yn dymuno galw yn ol yr hyn a ysgrifenasant yn eu byrbwylldra at eu perthynasau. Cyfaddefa un o Lanelli ei fod ef wedi bod yn euog o ysgrifenu hyn mewn nwyd, a rhoddi ar ddeall i'w rieni ei fod mewn caledi mawr, pan oedd yn berchen ar ddau ŷch, dwy fuwch, llô, ceffyl, mochyn, gardd dda, a digon o fwyd yn y ty am o leiaf flwyddyn. Pa le yn Sir Gaerfyrddin y gallasai dyn heb ddim i ddechreu, ddyfod yn berchen a'r gymmaint mewn ychydig fisoedd, heb fod yn grefftwr nac yn fasnachydd, ond yn unig trwy weithio gwaith fferm ar hîr? Rhyfedd onide fod dynion yn cymmeryd eu harwain gan y fath nwydau! Caledi mawr onide! Bum yn ddiweddar yn ymweled â'r dinasoedd gogleddol, sef, Ogden, Ogden Hole, Box Elder, &c. Ogden Hole sydd oddeutu 45 mil. o'r ddinas hon. Y mae y brodyr Thomas Evans, Henry Evans, David Jones, John Davies, a'u teuluoedd yn byw yno, ac yn gwneud yn dda dros ben. Box Elder sydd oddeutu 15 milltir yn mhellach i'r gogledd. Y mae yno amryw deuluoedd o Gymru. Y mae eich chwaer Martha a'i gwr yn gwneyd yn nodl yno. Y mae eich ewyrthr a'ch cefnderwyr yn preswylio yno er ys ychydig fisoedd yn ol. Y maent wedi adeiladu ty ac yn byw yn gysurus iawn. Yno hefyd y mae y brodyr W. S. Phillips, Capt. D. Evans o Lanelly, R. G. Evans o Pembrey, William Thomas Llanybydder, a llawer ereill o Gymru rhy aml i'w henwi.

pawb o honynt yn ffermio ac yn ymgyfoethogi yn gyflym. Oddeutu chwech milltir yn mhellach fyth i'r gogledd y mae y brawd Thomas Thomas, ei ddau fab, a Jeremiah Thomas a'u teuluoedd, y mae ganddynt ffermydd mawrion iawn. Y mae amryw o'r brodyr a'r chwiorydd a adwaenech chwi tua Chaerfyrddin a Llanelly yn aros yn y ddinas hon. Yma y mae y brodyr Henry Harries o'r Talog, Thomas Job, a John Davies, printer; yma hefyd y mae y chwaer Margaret Edwards, o Ffynnon Drain, oll wrth eu bodd ac yn dymuno eu cofio atoch. Meddyliwn yn fynych a siaradwn lawer am y saint yna, a gweddiwn yn daear ar i chwi gael eich gwaredu o gaethiwed Babel fawr, a'ch dwyn yn ddiogel i'r lle dedwydd hwn.

Da iawn genyf ddeall fod y ffordd yn cael ei hagor i chwi a'ch brawd i ymfudo y tymhor nesaf drwy gynnorthwy eich chwaer. Y mae y brawd John Nicholas yn dymuno arnoch fod yn siwr o ysgrifenu yn ol yn ddioed, os byddwch yn dyfod i ffwrdd y tymhor nesaf. Cofiwyf gyda llawenydd am yr amser y buoch chwi a minnau yn cyd-lafurio yma; melus meddwl na roisom esiamplau anheilwng o efelychaid y saint. Parhewch yn ffyddlon yn y gwaith da, a chwi a gewch bob peth a fyddo er eich lles. Annerchwch fi at eich teilwng Lywydd Jones, at y ffyddlawn frawd Daniels, a'r brodyr anwyl sydd yn llywyddu ar y gwahanol Gynnadleddau yn Nghymru. Annerchwch fi yn wresog at Gangenau Caerfyrddin, Brechfa, St. Clears, Trefechan, Pencadair, &c.

Annerchwch fi at y brodyr yn Llanelli heb enwi rhai personau, yr ydwyf yn annerch yr holl saint; Duw y nefoedd a'ch bendithio, ac a'ch dygo yn ddiogel i Seion. Da fyddai genyf gael llythyr oddiwrthych; caraswn gael gwybod am lwyddiant y gwaith yn yr hen wlad. Y mae y llythyrfa ar gael ei cheuad, o ganlyniad rhaid i mi derfynu yn bresennol rhag bod yn rhy ddiweddar. Annerchwch fi at fy rhieni, pan gaffoch gyfle, gwynfyd pe gwelent ogoniant crefydd y saint, ac y ffoent rhag y llid sydd ar ddyfod ar yr anufyddion. Byddwch lawen, mawr yw gwobr y rhai ffyddlon.

Bendithion y nef a fyddo gyda chwi yw taer weddi,

Eich Brawd yn yr Arglwydd,

THOMAS CHARLES MARTILL.

## YR EURGRAWN YSGRYTHYROL!

MAE genym nifer fach o'r EURGRAWN ar law ag y dymunwn eu bod yn nwylaw ereill, yn enwedig dymunwn i'r Saint sydd hebddo ymddeffroi yn ddioed, ac anfon am dano drwy eu dosparthwyr cyn y byddant yn galaru am eu hesgeulusdod. Pe arall fuasai ei Awdwr bloeddiasem nerth ein pen, ei fod yn drysor rhy werthfawr i neb fod hebddo serch pump punt llawer llai yn elo *hanner coron*. Oni bai fod ofn cyhuddiad o hunanoldeb dywedem, ei fod yr anrheg oreu a roisom i'r Saint drwy y Wasg o gwbl; a phe byddem mor sectyddol ag y buom unwaith, ni phetrusem ei alw yn ffordd anffaeledig braidd i gael gafael ar gânt o egwyddorion mawreddog na ŵyr gwŷr lleyg ein gwlad nemawr am danynt; eithr gan ein bod yn hyderu fod digon o enghreifftiau drwy'r wlad i brofi pa fath un yw, a chan ein bod yn bwriadu gadael y wlad hon, unwaith etto cyn hir fel na cheir argraffiad arall o hono, rhybyddiwn y rhai sydd yn meddwl y gallant ei gael pryd y dewisant y caffant eu siomi os na *frysiant!*

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CYHOEDDA rhai newyddiaduron fod tua 300 o'r Indiaid wedi ymosod ar wersyll o Ymfudwyr ger "Porth y Diafol" a lladd tua 150 o honynt. cymmeryd eu hysbail, ac fod y gweddill wedi cyrhaedd Dyffryn y Llyn Halen; eithr ni chredwn hyny na'r *fish story* chwaith. Ai y pellebyr, y golomen, ynte y frân a phig wen a ddaeth ar newydd iddynt hwy mor gynted o'r Llyn Halen, cyn bod y gwersyll blaenaf wedi cael amser i gyrhaedd yno. ni welsant yn dda ein hysbysu, a gwelwn ninnau yn dda oedi llyngcu y tammaid yna, er mor felys yw yngeneuau rhai pobl, canys daeth Mail Utah am Medi i'n llaw heddyw yn gwrthbrofi y chwedl.

Y RHYFEL.—Mae Gorkschakoff yn ei amddifyn ei hun yn benderfynol yn yr ochr ogleddol i Sebastopol, ac ond barnu wrth y tân poethlyd a luchia i blith y cyngreiriaid sydd ar yr ochr ddeheuol, nid yw yn amcanu encilio yn fuan. Mae byddin liosog o'r Francod a'r Twrciaid wedi gyru y gelyn yn ol a'r ffô

i'r wlad, yr hwn a ymladda bob cam o'r wlad a adawa ar ol. Bwriedir torri ymaith ymddibyniaeth Sebastopol am adgyfnerthaidau, eithr, mae ganddynt hwy ffordd arall i'w gael na wyddid am dani, ac yn ol pob argoelion, ni chaiff hono rhagddynt yn hawdd. Tra yr ymffrostia y Rwsiaid eu bod wedi ennill buddygoliaeth glodfawr ar y Twrciaid yn Asia, yn yr hon y lladdasant 400, daeth y newydd yn ddiweddarach ddarfod iddynt hwythau yn eu hymosodiad ar Kars golli 4,000.

---

*Taliadau at Ddyled Cymmanfa Orllewinol Morganwg o Hyd. 10fed hyd y 23ain.*

| | £ | s. | d. | | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Eleanor Thomas, Cwmavon | 0 | 3 | 0 | Margaret Davies, etto | 0 | 2 | 6 |
| ............ Abercenffig | 0 | 10 | 0 | Rachel Jones, etto | 0 | 2 | 6 |
| Mary J. Davies, Alltwen | 0 | 3 | 6 | Jane Lloyd, etto | 0 | 2 | 6 |
| Mary W. Jones, „ | 0 | 0 | 6 | David Roberts etto | 0 | 10 | 0 |
| Griffith Jones, „ | 0 | 1 | 0 | Thomas Morgan, Treboth | 0 | 10 | 0 |
| Thomas Evans, Cyfyng | 0 | 10 | 0 | Edward Richards, Wich | 0 | 5 | 0 |
| George John, Cwmbwrla | 0 | 2 | 6 | Barbara Richards, ei wraig | 0 | 2 | 6 |
| Mary John, ei wraig | 0 | 2 | 6 | Thomas Davies, Ystrad | 0 | 10 | 0 |
| Thomas Thomas, Cwmbwrla | 0 | 10 | 0 | Elizabeth Davies, ei wraig | 0 | 10 | 0 |
| Thomas Evans, Cwmafon | 0 | 0 | 6 | Thomas R. Davies, etto | 1 | 0 | 0 |
| ............ Cyfyng | 1 | 0 | 0 | David Evans a'i wraig | 1 | 0 | 0 |
| Henry John, Treforis | 0 | 5 | 0 | Joseph Jones, etto | 0 | 10 | 0 |
| Anne John, ei wraig | 0 | 2 | 6 | Anne Jones ei wraig | 0 | 5 | 0 |
| Wm. Jenkins, Castellnedd | 0 | 5 | 0 | David Jones etto | 0 | 5 | 0 |
| Ben. Phillips, Castellnedd | 0 | 4 | 0 | David Jones, Iaf, etto | 0 | 2 | 6 |
| Evan Davies, Pyle | 0 | 10 | 0 | David R. Jones, etto | 0 | 5 | 0 |
| Anne Davies, ei wraig | 0 | 2 | 6 | William Lewis, etto | 0 | 5 | 0 |
| Evan Richards, Pyle | 0 | 5 | 0 | Mary Lewis, ei wraig | 0 | 5 | 0 |
| Wm. James, St Brides | 0 | 5 | 0 | John Williams, etto | 0 | 5 | 0 |
| Wm. Llewellyn, etto | 0 | 4 | 0 | Roderick Williams etto | 0 | 2 | 0 |
| M. Dyer, (C. S., Abertawy) | 0 | 5 | 0 | | | | |
| Richard Knight, etto | 0 | 2 | 6 | | £13 | 3 | 6 |
| J. Tuckfield, etto (Gymraeg) | 0 | 10 | 0 | | | | |

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU HYD HYDREF 23ain.—G W. Davies, £13 6s. 6½d.; J. Davies, £1 7s. 1d ; Lewis Davies, £1 17s. 2½d.; William Lewis, Morganwg, £29 16s. 10½d.; Edward Middleton, £16.; B. Jones, £7 8s. 9½d.; Griffith Roberts, 5s. 8d.; Thomas Morgan, £1.; Isaac Jones, £1 4s. 4½d.; Evan S. Morgan, £1 3s. 3d.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 23.] TACHWEDD 10, 1855. [CYF. VIII.

### "YR AMSERAU" AI FURGYN YN EI GEG!

[Parhad o dud. 344.]

DYRY y fenyw hon Joseph Smith ar gefn ceffyl a benyw wrth ei ysgil, saethir ef yno, yn y nos dywyll, fel rhwyd gabage heb gyffwrdd dim a hi! Oni wyddai Mr. Lloyd mai yngharchar Carthage y saethwyd Mr. Smith ai frawd Hyrum? oni chyddystiai holl newyddiaduron y byd hyny? Gwnant, ond etto cyhoedda Mr. *Amserau* haeriad croes hon er hyny, a gresyn mawr fod neb o'r Cymry heb lyfu eu gweflau ar ei danteithion ebe Mr. Lloyd. Pa le mae ymenyddion y golygyddion a gefnogant y fath warthyni? Er enghraifft o gywirdeb ei hamseryddiad dywed fod y Mormoniaid wedi darparu i adael y dref ddeu-ddydd cyn diwedd y mis ar ol y mis y lladdwyd J. Smith. Yn mhen *dwy flynedd* ac nid yn mhen un mis ar ol marwolaeth J. Smith yr ymadawodd y Saint o Nauvoo.

Dywed y llyfr hwn wrthym mai y Nauvoo Legion oedd y gatrawd a aethant i ryfel yn erbyn Mecsico, iddynt fyned drwy Ddyffryn y Llyn Halen i California, ac fod un o honynt o'r enw Harmer ar ol eu dychweliad i'r Taleithiau yn arweinydd i wersyll Brigham Young i'r Dyffryn. Tra y gwyr pob crwt a wyr rywbeth o'u hanes fod y Saint wedi myned o Nauvoo tua Council Bluffs, tuag 800 o filltiroedd i'r gorllewin o St. Louis cyn i'r Llywodraeth anfon Capt. Allen ar eu hol i ofyn catrawd o honynt i fyned i Mecsico, ac nid drwy y

Llyn Halen, eithr ffordd arall hollol sef tua Santa Fe yr aethant; a dylasai hyd y nod yr *Amserau* wybod fod Brigham Young a'i gwmni wedi cyrhaedd Dyffryn y Llyn Halen, a dychwelyd yn ol i'r Taleithiau cyn i neb o'r gatrawd hono ddychwelyd o Galiffornia yno.

"Cynnwysai ein gosgordd tua chant ag ugain o bedrolfeni, a a phedwar mul o flaen pob un," ebe ein hanesydd. Pan nad oedd o'r Saint lai na deg gwaith y nifer hyny o bedrolfenni, a dim cymmaint ag un o'r oll yn cael ei llusgo gan fulod. Ond gan ei bod hi yno ei hunan rhaid ei bod hi yn deall gwahaniaeth rhwng mu'od ag ychain, bid siwr! Credai pawb ereill mai ychain oedd pïa y cyrn hirion a welent o'u blaen o hyd! Syndod mai Mrs. Ward yn unig a ddeallai mai mulod oeddent serch hyny.

Etto cawn damaid melys,—"Pan gyrhaeddasom St. Louis yr oedd yno amryw bedrolfenni ereill yn aros am danom, ac wedi arhosiad byr *croesasom y Mississippi*, ac a droesom ymaith drwy fôr annhrigianol o *brairie*.—Mae y ffolineb hwn ei hunan yn profi na welodd yr hanesydd erioed mo St. Louis, y Mississippi na'r Taleithiau gorllewinol nac hyd y nod ddarlun o honynt. Dug ei chwmni o Nauvoo i St. Louis heb groesi y Mississippi! Dyma fwy gwyrth na "cherdded yn groes i'r afon." Mae Nauvoo yr ochr ddwyreiniol a St. Louis yr ochr orllewinol i'r Mississippi, neu o leiaf dyna fel y gwelsom ni hwynt, er pan y'm yn cofio, ac felly eu gadawsom hwynt; ond aeth hon o Nauvoo i St. Louis heb weled un afon rhyngddynt a gwaeth etto pan groesai y Mississippi i fyned i'r gorllewin o St. Louis! Druan o hon i mae hi wedi colli y ffordd er's tro Mr. Lloyd, ac wedi colli ei thipyn synwyr hefyd. Ond beth oedd hi yn ymofyn yn St. Louis wyddys? Ni bu B. Young a'i gwmni ddim o fewn i ddau cant a hanner o filltiroedd i St. Louis, na dim nes yno nac yr oeddent yn Nauvoo. Yno y croesasant hwy yr afon hono, ac aethant yn mlaen oddiyno i'r gorllewin drwy Iowa hyd Council Bluffs. Ond cafodd Mrs. Ward *brairies* annhrigianol gerllaw i St. Louis yn rhywle, tra y mae Talaeth Missouri am lawer iawn o gannoedd o filltiroedd o St. Louis yn wlad goediog, ac wedi ei phoblogi yn dew. Eithr

mae hi wrth gofio yr ochr chwith i'r Mississippi i fod yn Missouri, newydd ei chroesi go chwith! Mr. Lloyd, druan, ni allwn ddal yn hwy, rhaid i ni ollwng yr ysgrifell i ddal ein hochrau, aha, a fyn allan er pob peth.

Cwyna hon hefyd fod ei chôf yn ddrwg, "ei bod hi wedi anghofio enwau rhai o'r anfonydd lleiaf." Yn awr mae hyna yn ormod o *sham modesty* o ddifrif Syr. Beth, dynes sydd wedi ehedeg dros gannoedd o filltiroedd; wedi cysgu yn hwy na'r Gôg, ïe, flynyddau o'r untu—bwyta Dinas St. Louis a llyngcu y Mississippi (tad y dyfroedd) i'w golchi hi i lawr yn llindagu ei hun a "dwy neu dair o'r afonydd lleiaf." Rhaid i ni gael chwerthin tipyn etto yn siwr.

Wel, treiwn etto, o'r diwedd cafodd ei hunan yn rhydd a dacw hi yn nghanol yr anialwch—dacw afon a dacw nhwy yn gwneyd ysgraff. I lawr a'r coed, rhwymant hwy wrth eu gilydd â rhaffau a thoant hyny a "*phlanciau tewion.*" Beth a ddywedodd hi y tro yna? a'i *planciau tewion?* 'Does bossibl! o ddifrif! O ba le y cawsant blanciau tewion yn yr anialwch mor belled oddiwrth felinau llifio tybied? Yn siwr Mr. Lloyd dylech chwi fyned gyda'ch *Amserau* oddiamgylch i atteb cwestiynau mor resymol a hyn oddiar y llyfr a ganmolwch canys, ni ellir ei goelio heb hyny. Ond wrth gofio yr ydych wedi treio gwneyd clwtyn o'ch hen glôs eich hun i dreio cuddio yr holl dyllau hyn drwy ddweyd mai tebyg i *Uncle Tom's Cabin* yw. Ond gwyr pob hanner pen Syr, mai un peth yw celwydd pe dywedid ynghaban eich ewyrthr Tom a phe dywedid yn mwthyn eich ewyrthr Jack; yn yr *Amserau*, o eneu y Golygydd neu o eneu Mrs. Ward, neu o ble y del anghyfnewidiol yw ei natur, ac ni allwch chwithau wneyd i'ch darllenwyr gredu fod celwydd yn troi yn wirionedd trwy ei gyfarth ar Formoniaeth. Ond dysgwyliwn ateb o ba le y daeth y *planciau*, Mr. Lloyd! Adgoffa hyn ni am ystori y gwyddel, yr hwn, mewn attebiad i ofyniad un arall, os gwyddai pa fodd y taflai y twrch daear yr holl bridd o'i flaen? "Gwn" ebe efe "drwy ddechreu yn y gwaelod." "Ond, pa fodd yr aeth efe yno i ddechreu?" "O, dyna ofyniad o'ch eiddo eich hunan," ebe efe.

Yn nesaf dwg ni i blith y Sioux mewn gwlad goediog, a chyfarfydda rai o'r Cheyennes. Yn awr, mae y ddau lwyth Indiaidd yna yn byw mewn gwledydd mor amddifaid o goed fel y buom yn teithio am ddyddiau yn olynol heb weled un pren, ac am gannoedd o filltiroedd ni allem gael amgen i wneyd tanau na thail sych y Buffalo. Fel, megys y mae pob hanesyddiaeth yn go chwith yn y llyfr musgrell hwn, nid yw ond canlyniad naturiol fod ei llysnafedd ar y Mormoniaid a'u teuluoedd yn hollol go chwith hefyd. Wedi pasio y ddau lwyth uchod daw hon a ni i drefedigaeth o Bawnees. Ond yn anffortuus i'n hanesydd gwyr y cyhoedd fod gwlad y Pawnees gannoedd o filltiroedd tu yma i'r lleill y rhai a gafodd hi yn nes yma na hwynt. Wyddys pa bryd y *swapiodd* yr Indiaid hyn eu gwledydd a'u gilydd. Gwladycha y Cheyennes gerllaw Fort Laramie, ond dwg hon ni yn gyntaf at y Sioux, ac yna daw a ni yn ol tua 500 at y Pawnees tra ar ein taith i'r gorllewin. Yn siwr Mr. *Amserau* yr ydym wedi blino yn dilyn rhyw *Jack-a-Lantern* fel hon; nid gwaith chwerthin yw hyn, ond pe buasem ar eich pwys pan yn galw ar eich darllenwyr i goelio pethau fel hyn am "ffeithiau" temtiasid ni i gydio yn eich penelin. os nad i roddi i chwi binsied o snisin hefyd. Ai â rhyw faw fel hwn yr arswydwch y Cymry rhag Mormoniaeth druan? oni arswydwch eich darllenwyr gonest rhagddoch eich hun yn hytrach, nid y'm ni yn brophwyd! Er mor anwybodus yw yr *ignorames* hon o barthed i drigfanau yr Indiaid, dinasoedd, afonydd mwyaf y byd, a phob peth arall, ag y proffesa ysgrifenu yn eu cylch, mae ganddi yr *impudence* i ymffrostio ei bod hi yn "*French Scholar;*" na theimlai unrhyw anhawsdra i ymddyddan a'r "*Santa Fe Traders*" (rhaid fod y rhai hyny wedi colli eu ffordd yn lled-chwith hollol i fod yn y fan hono), ac wele engraifft a ddyry o'i *French:*—"*Squaw good shoot*" Yn awr gofynwn er mwyn *Johny Crapw* ei hun, pa un o'r geiriau yna sydd yn *French?* Attebed Mr. Lloyd os gwel yn dda; canys yr oeddem ni mor annealltus a chredu mai gair Indiaidd yw *squaw*, am wraig; ac ni wyddem Saesoneg yn well na chredu mai dyna yw y gair "*good*" a "*shoot*" hefyd; ond pa le mae *French* ei awdures na'i geirwiredd rhaid i ni aros i Mr. Lloyd ei

ddangos etto. A chan iddo arddangos cymmaint o awydd i'w ddarllenwyr ddeall y llyfr cyfeiriedig fel ag i lenwi colofnau cyfain o'r *Amserau* ag ef, ni all wadu y dyddordeb o'r iawn gyfieithad o'r brawddegau a ddyry yn enghreifftiau o hono, bid siwr! Yr ydym yn cael gwersi godidog yn hyn, onid ydym?

"Ymunodd llawer o'n *hychain* gyda y Buffaloes," ebe hi o'r diwedd. Cychwynodd gyda chant ag ugain o weddeuau *mulod* ebe hi gyneu, eithr erbyn cyrhaedd i wlad yr Indiaid wele y mulod wedi magu cyrn a chael eu transmigrato yn ychain! Dyna i chwi wyrth Mr. Lloyd! Peidiwch a gwadu oes y gwyrthiau mwyach. Ni choeliech ni gyneu yn dweyd mai ychain oedd y cyfain, ac efallai mai gwell genych ei chredu hi etto mai mulod oeddent pan yn cychwyn, ac iddi hi eu gwneyd yn ychain wed'yn! Rhaid i chwi gredu y wyrth draws-sylweddol hon a bod yn Babydd neu amheu ei geirwiredd hi. Os na allai hi ddweyd y gwir, pa rywogaeth o anifeiliaid ai llusgai, pa fodd y dysgwyliwch ei bod yn gallu dweyd y gwir am bethau mwy dirgel o lawer megys carwriaeth y merched a sisial na allasai glywed oddieithr ei bod hi o tan welyau yn clyst-feinio?

Yn lle bod y "*Pacific Springs*," gerllaw y *South Pass* "yn llydan a bâs ac yn rhedeg yn llawn a chyflym hyd wely carregog" fel y dywed hi; dywedwn ni nad oes yno ddim yn debyg. Nid yw y *Pacific Springs* amgen na chôrs neu dir lleidiog am filltiroedd o amgylch, ac er fod taith galed i gyrhaedd yno o'r wersyllfa olaf ar y *S eet Water* mewn un dydd, mae y lle mor lleidiog fel y gorfuwyd ni i ddwfrhau yr anifeiliad mewn llestri rhag iddynt suddo yn y llaid, a gwell oedd genym eu rhwymo wrth y pedrolfeni heb fwyd drwy'r nos na'u gollwng i bori yn y fath le. Felly y rhaid i bawb wneyd; ac nid "croesi," ond gadael y *Pacific Springs* ar yr ochr ddeheuol i'r ffordd. Yma gwelir hon yn hollol go chwith etto!

Dywed y llyfr cyfeiriedig wrthym fod yno gynnifer o deuluoedd yn myned gyda Brigham Young i'r Dyffryn, fel yr oedd rhyngddynt ddigon o ferched ieuangc i fod yn hudo pob gŵr gwraig drwy'r gwersyll braidd, a'u bod yn priodi, &c., ar hyd y daith; tra y dylai pawb a gyhoeddant ddim ar y pwnc

wybod fod Brigham Young wedi dewis rhyw nifer o'r dynion i fyned gydag ef i chwilio allan Ddyffryn y Llyn Halen a gadael yr holl deuluoedd a rhai miloedd o'r Saint yn *Winter Quarters*, Missouri, ac felly am dros fil o filltiroeddd o'r ffordd oddiyno i'r Dyffryn, nid oedd gymmaint ag un ferch ieuangc yn eu plith o gwbl. Mae hanes y daith yn gyhoeddus o flaen y byd, ac onid oes cywilydd, ïe, cywilydd arnoch chwithau Mr. Lloyd i alw y fath sothach anwireddus yn ffeithiau? Dywed i ni hefyd fod Cwmnioedd ereill o Saint wedi cychwyn fis ar ol Brigham, ac wedi cyrhaedd i'r Dyffryn o'i flaen; ond y gwir yw fod Brigham wedi gadael rhan o'i gwmni yn y Dyffryn, a dychwelyd hanner y ffordd yn ol i'r Taleithiau i ymofyn ei deulu a'r gweddill o'r gwersyll pan gyfarfu a'r gwersyll nesaf a gychwynodd ar ei ol; ac ni ddychwelodd efe i'r Dyffryn cyn pen y flwyddyn wedi gadael y rhai cyntaf yno. Fel, mae hanes hon mor hollol groes i'r gwir yn mhob peth nes mae yn rhaid fod y sawl a'i creda yn caru celwydd yn hytrach na'r gwir.

Yr ydym wedi diflasu yn trafod hen chwedlau gwneuthur hon; maent yn drewi yn ein ffroenau o ragrith *parchedigol*, ac mae anadl y *Peirch.* "duwiolfrydig" mor gryfed ar y geiriau canlynol a ddyry yn ngeneuau pob gwraig "ar ol cael ei gwrthod gan ei gwr," ag yw "Baw y d——l" lle y byddo; sef, "O, na wrandawswn ar rybyddion fy mugail duwiol." "Gwae fi na buaswn wedi cymmeryd y rhybydd a gefais gan fy ngweinidog parchus," &c. Os drewodd y gwr drwg yn waeth yn ffroenau rhyw un nag y drewa baw ei *Beirch* ar y cewyn hwn yn ffroenau pob carwr y gwir, gato pawb! gwareder ni rhag ei sawyr!—Ond gwasgwch eich ffroenau am un tro y llusgwn y ffwlbert o'i dwll etto a'i dòr i'r lan: clywch o ddyfrif —"Y gosp gyffredin am amlygu cyfrinach deuluaidd, &c., yw carchariad gwraig am fis mewn *cellar*." Yma anghofiodd hi ddweyd i ni etto pa le yr oedd eu *cellars* yn cael eu cario gyda hwynt pan yn teithio am gynnifer o fisoedd drwy'r anialwch? Yute ai cloddio *cellar* a wnaent bob nos ar ol gwersyllu er cau yr euog ynddynt? Os felly ni allai fod yn ei charchar y dydd. "Ond", ebe ei *chefnogwr* hwn, "wedi cyrhaedd yno yr oedd y

gosp yn cael ei gweinyddu." Purion, ond etto gofynwn, ai o tan eu pedrolfeni, ynte eu pebyll y tirient y *cellars* carcharol hyn tybied? Ai tirio twll fel twrch daear yn garchar i'w wraig oedd gwaith cyntaf dyn o tan lawr ei fwthyn? Beth meddech Mr. Amserau? A allasech chwi wneyd hyny eich hunan? Etto, ar ol blynyddau o gymdeithasu â'r dynion a gyhuddir ô'r fath greulonderau a'r rhai hyn, ein gair am dano yr ydych chwi eich hun drwy gyhoeddi pethau fel hyn am eich cyd-ddynion yn greulonach dyn o gan waith na neb a welsom ni yn y wlad hono. Ac mae y sawl a greda y fath beth am arall yn ddigon gwallgof i dirio twll yn y ddaear i'w wraig ei hun.

Ofnwn y tröai ystymog y darllenydd pe dyfynem lawer chwaneg o ysgarthion y llyfr "dyddorol" hwn; y sawl a allo archwaethu chwaneg o'r fath, cyfeiriwn ef at y llyfr ei hunan gan sicrhau, er ei galondid, ei fod mor gyflawn o'r cyffelyb sothach yn y manau ereill ag yw yn y manau a nodasom. Eithr gadawn yr holl chwedlau "John Gilpin", "Wil o' the Wisp" "Baron Munchusen" a'r tylwyth teg a wauir drwyddo, a'r anwireddau eraill a'u cordeddant wrth eu gilydd yn nwylaw medrus yr *Amserau*; canys, diau ei fod ef yn wehydd digon medrus i wneuthur o honynt siacedau o amlach lliwiau i'w ddarllenwyr nac oedd siaced fraith Joseph gynt. Credwn ein bod ni eisioes wedi codi digon o furgyn danteithiol yr *Amserau* i'r gwynt i brofi mai ffug trwyadl ydyw; nad yw ei awdwr yn deall digon o barthed i hanesyddiaeth Mormoniaeth mewn dim o'i chyssylltiadau i fod wedi ei seilio ar "ffeithiau"; eithr mai *catch-penny* o eiddo y Peirch oeddynt rhy ddiog i weithio am eu tamaid yw, a phe bai rhywbeth yn peri syndod i ni yn yr oes syn hon, digywilydd-dra Golygyddion yn cymhell y fath faw yn fwyd i'w darllenwyr a'n synem fwyaf! A'r unig eglurhad a gawn ar y paham o hyn yw, nad yw ond arferiad y sawl a gara gelwydd ei hunan yn fwy na'r gwir—dallineb oddiwrth "dad y celwydd" fel na thewyno goleuni arnynt mwyach. Druain o'r deillion, gwleddant ar y burgyn nes torri eu bola; ni fynwn eu hysbeilio o'r un *joint* o hono. Ond etto meddwn, nid aeth awdwr y llyfr hwnw gyda Joseph Smith i Nauvoo nac i un man arall, a phe gwelsai ei lygaid ef, ni ddywedasai mai rhai

duon oeddynt, os gwelodd ei ben ôl; nld aeth gam gyda *Brigham* Young o Nauvoo tua'r dyffryn; ni wyr ddim yn gywir am wlad yr Indiaid, yr afonydd, nac hyd y nod y ffordd i'r dyffryn yr aethant iddo ; ni wyr am deimladau nac arferiadau y 'Mormoniaid,' ac nid oes yr un chwedl na golygfa a gynnwysa y llyfr hyd y nod wedi ei selio ar ffaith, a herriwn Olygydd yr AMSERAU ynghyd a phob cefnogwr a fedda i brofi yn amgen,.

Profa Gol. yr "Amserau" ei hollol anaddasrwydd i olygu unrhyw gyhoeddiad, a'i annheilyngdod o ymddiriediad y cyhoedd drwy ei ymollyngiad gyda y genllif warthus o gelwyddog hon, ac nid nn dyn na dynes a fedda ronyn o wir grefydd ei hunan byth a'i coelia ef etto, debygwn, yn traddodi ei farn am unrhyw grefydd o eiddo ei gyd-ddynion. Dylai pob Gol. ddeall beth sydd wir a pheth nad yw yn wir yn well na chodi rhyw dusw aflan fel hwn i'r gwynt er "symud y gwarthrudd a dynodd Mormoniaeth ar genedl y Cymry!" Pe buasai rhyw un arall yn cyhoeddi y ganfed ran o'r celwyddau hyn ar rhyw enwad arall yn Nghymru, diau y gwaeddasai efe mai hyny a fuasai yn gwarthruddo y genedl yn fwyaf oll, ac nid oes enwad yn ein gwlad yn fwy dieuog o'r cyhuddiadau ag y dwbia efe "Formoniaeth" nag ydyw hi ei hunan. Druan o hono! Ai a hwn y cuddir gwarth y genedl, aie! Unpeth a hyny fyddai i'r *sweep* geisio ysgubo parddu oddiar wyneb yr haul. A chyffelyb ofer-waith yw iddo yntau geisio golchi ymaith "warthrudd" ei "Amserau" bellach â hylif anwiredd fel a ddyfyna yn erbyn Mormoniaeth ag oedd i'r benywod hyny geisio golchi y baban negröaidd yn wŷn—hawddach i'r llewpard newid ei frychni Mr. Lloyd. Mae eich awydd gwancus chwi ac eraill am berfeddion y pamphletyn dan sylw yn ein hadgoffa am ddyn a welai sypyn bychan ar yr heol wedi ei rwymo yn drefnus mewn papyr; cydiodd ynddo gan sisial wrtho ei hunan, " Mae'n debyg i ŵns o dê. Hai, lwc mai tybaco yw; efallai mai siwgr." Ac wedi ei godi at ei ffroen er bod yn sicr, efe a waeddodd allan, "Och o' fi, baw ydyw!" Felly Mr. "Amserau" dropiwch y sypyn bawiawg hwn o'ch eiddo, ac anfonir i chwi gyda hwn draethawd ar yr " Amlwreigiaeth aflan, lygredig a damniol" hono y dywedwch ei " bod yn taflu gwenwyn marwol llygredigaeth i ffynnonell cymdeith-

as, ac yn warthrudd ar yr enw Cymreig." Peidiwch a gadael i'ch ystymog droi Syr, nid oes neb yn gorfodi y *pills* chwerw arnoch, er y credwn mai y ffordd oreu i garthu y peth aflan o fola yr "Amserau" fyddai rhoddi iddo ddôs o'r *pills* hyn yn awr ac eilwaith hyd nes y llaeso y *purging* a'r *puking.* O leiaf, credwn mai y *Cholera Morbus* y galwasai yr hen Batriarchiaid y clefyd a achosasai y fath bangau ac ysgarthiadau ag eiddo yr "Amserau," a choeliwn mai pills fel y rhai'n a roisent hefyd oddieithr iddynt ystyried y *case* yn anfeddygyniaethol. Cymmerwch gynghor yn garedig Mr. "Amserau" gan ŵr o gystal "dosbarth" ac mor bur ag y gallwch chwithau ymffrostio o hono a gwneud eich goreu—gweinyddwch gwpwl o ddoses o'r pils hyn i'ch "Amserau" rhag i'r *malaria* enbydus ei ladd. Gellid enwihirach rhif-res o enwau personau o'r "dosparth" a ddringent bwlpudau ac i "seat fawr" pob enwad drwy'r wlad a hollol iachawyd drwy eu cymmeryd nac a enwir yn eich colofnau o blaid Halloway's," "Worsdell's," nac hyd y nod "Parr's Life Pills"; a dangoswn ein hawyd am eich gwellhad o effeithiau y gwenwyn marwol yna fel ag i roddi y rhai hyn i chwi am ddim, ac mae genym ystôr fawr wrth law o'r un natur; oes, digon i *burgio* pob gwenwyn *anti*-gwreigyddol o golyddion pob un a fedd enaid, ac a'u llyngcant, nad pa mor aflan y bu efe.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, TACHWEDD 10, 1855.

CIP-DREM AR SEFYLLFA YR EGLWYS YN NGHYMRU. Wedi cael y fraint o dreulio deg o sabothau yn olynol mewn cynnifer o Gymmanfaoedd drwy Ddê a Gwynedd yr ydym mewn sefyllfa i ddeall rhyw beth o natur a sefyllfa gwaith yr Arglwydd yn y manau hyny, ac yn byw mewn gobaith o gael y pleser o ymwel-

ed â'r Cynnadleddau eraill cyn hir. Teimlwn ddiolchgarwch o galon i'r Hwn a bia y gwaith am ei nodded drosto a'i lwyddiant arno, ac am yr undeb a'r cariad, y sel a'r ymroad a arddangosir yn mhob man. Diau mai o ddaioni Duw y mae hyn oll—Efe a deilynga ac a gaiff y mawl. Ni allwn gael lle yn awr i fanylu ar nodweddau mwyaf canmoladwy pob Cynnadledd ar wahân; ac ni feddylia y Saint mai gweniaeth ond annogaeth i efelychiad yw ein sylwadau. Mae yr holl Lywyddion ar a welsom mewn undeb â'u cynghorwyr, ac felly yr holl Offeiriadaeth; bendith annhraethol yw hyn, a thyma paham y mae y Saint yn mwynhau y fath gariad at eu gilydd a'r gwaith. Ysbryd y cariad a gynnyddo ynom oll nes ein dwyn yn hollol unol ynddo Ef. Penderfyniadau y Saint yn mhob man yn awr ydyw ymroi a'u holl egni i werthu traethodau i'r byd a lledaenu digon o wybodaeth o'r grefydd ddwyfol hon drwy hyny a'u tystiolaethau, i naill ai achub neu euogi eu cymmydogion; talu pob hen ddyledion i'r Swyddfäau; gorphen talu eu haddunedau at adeiladu Teml yr Arglwydd yn Seion; a hyderwn na cheir un eglwys na pherson yn ol o wneuthur hyn cyn diwedd y flwyddyn; a gwneuthur pob ymbarotoadau ereill a allont i ymfudo tua Seion. Seion yw ein cartrefle, a diolch i'n Tad am ragbarotoi y fath ddiddosfau erbyn y bo ei lwyr angen: brysiwn fyned yno. Mae galwad taer oddiyno drwy'r holl fyd ar bawb o'r Saint a allant i fyned y tro nesaf, ac mae'n dda genym hysbysu fod gobaith i rai cannoedd o hil Gomer allu dryllio eu rhwymau a ffoi tua Seion yn y tymhor dyfodol.

Yn Brycheiniog, Mynwy, Merthyr, Abertawy, a Llanelli, cawsom gwnniaeth ac addysgiadau rhagorol gan y Llywydd J. Ferguson; prif faich y hyn oedd am i bawb barotoi i ymfudo, a chynnorthwyo i adeiladu y Deml. Diau fod grym Ysbryd ei swydd gydag ef yn helaeth. Yr Arglwydd a'i diogelo ar ei ddychweliad i'r Iwerddon, ac a lwyddo ei genadiaeth yno. Yn yr holl fanau uchod, cawsom y brodyr yn ymddeffroi i'r gwaith o gasglu i mewn yr hen ddyledion am lyfrau, &c., ac os caniatâ yr Eglwys, fel y llynedd, i'r arian hyn fyned at ymfudo y tylodion i Seion, diau y bydd bendith llawer ar eu penau hwynt am eu sêl yn y peth hwn. Na roddwch hyn i fyny,

Frodyr, nes ei gyflawni yn drwyadl. Un pleser mawr a gawsom wrth ymweled â'n brodyr oedd, deall eu bod yn canfod yn amlycach o hyd y pwysigrwydd a'r lleshâd o gael, ac o ufyddhau i gynghorion yr Offeiriadaeth; dywedwyd i ni enghreifftiau dyddorol o waith Duw yn profi hyny; ei fendithion nodedig i'r ufyddion, a ffeithiau galarus i'r gwrthwynebwyr—Efe yw y dysgawdwr goreu oll. Ar ein taith cawsom y pleser o weled ychwanegiadau mewn rhifedi, ond mwy pleserus oedd gweled cynnyddiant mewn grasusau, rhinweddau a santeiddrwydd; mewn amrywiol fanau bendithiwyd ein gweinyddiadau ni â'n brodyr er cysur mawr i'r cleifion; ac yn mhob cangen braidd o'r Eglwys ymlawenhai y Saint yn y mwynhâd o'r doniau ysbrydol. Yn mhob man yr awydd mawr—mwyaf yw, am ymfudo i Seion; "O, pa bryd y caf fi fyned yno?" oedd y gofyniad cyntaf a'r olaf braidd gan lawer, a chyda y fath ddwys hiraeth hefyd ag i beri cydymdeimlad o'r galon, ac i ffurfio testun gweddi barhaus, ar i'r "Hwn a ddechreuodd ynom y gwaith da hwn ei orphen," drwy gasglu y cloff a'r tlawd adref i Seion cyn dêl y drycin a'r gyflafan.

Drwy ein holl daith cawsom fawr bleser yn naioni Duw i'w blant a'u cariad atto Ef a'i waith, ac atom ninnau er mor annheilwng; a chawsom brawfiadau mwy nac oll ynghaledwch calonau anghredinwyr, a'r cymmylau a dduant ein hawyrgylch fod ein gwaith o rybyddio y byd yn nes i'w derfyn, ac fod Duw am ei dorri yn fyr mewn cyfiawnder. Mae pob nodwedd a ymddengys yn adnewyddol yn y gwaith hwn ac yn y byd yn tueddu i gynnyddu ein diolchgarwch i'n Duw am y fraint a gawsom o hau yr "had da" hwn yn yr ardd Gymreig, ac yn cynnyddu ein penderfyniad i fod yn fwy egnïol am y tymhor byr sydd yn ngweddill o'n gyrfa yma i "gasglu y gwenith i'w ysgubor" Ef cyn del y gauaf blin.

---

## NEWYDDION O UTAH.

*(O'r "Deseret News.")*

"Y Cnydau.—O'r gogledd clywwn newyddion da ynghylch y cnŵd o wenith, pan ystyriom y niwed a wnaethpwyd gan

geiliogod y rhedyn; y rhai ni fuont yn eu dystrywiadau yn hollol anmhleidiol—llwyr borwyd rhai maesydd, tra na chyffyrddwyd ag ereill oeddynt yn eu hymyl.

Yn swydd Utah, yn enwedig yn Provo a'i chymmydogaeth deallwn y bydd y cnydau yn gyffredin drwy ddwfrhâd helaeth a bendith yr Arglwydd yn helaethlawn.

Mae'r ŷd yr India yn addaw yn dda, ac y mae argoelion da am gnŵd teg drwy yr holl Diriogaeth, ac mewn rhai parthau dyna fydd y prif lafur. Mewn llawer o faesydd yn nghymmydogaeth y ddinas hon (D. Ll. Mawr), canfyddasom arddangosiadau o niwed dirfawr i'r cnydau gan bryfyn dinystriol, a bydd yn dda i ffermwyr i chwilio eu llafur, ac os bydd yn ddichonadwy, i attal mwy o golled, canys mae'n sicr y bydd arnom anghen yr oll a ellir ei godi.

Cloron (pytatws.) sydd yn dyfod yn mlaen yn dda iawn ; a chyda digon o ŷd yr India a chloron ni fydd perygl o newynu.

Y ceirch, yn ol a ddeallwn, a rodda brinach cnŵd nac arferol. Torwyd y ceirch mewn llawer o faesydd tra yr oedd etto yn lâs i fod yn borthiant, fel na chaffo ceiliogod y rhedyn y gorchwyl o'i ddifa.

O'r ad-hauad diweddar, y mae yr hyn a ddyfrhäwyd yn hael yn ymddangos yn obeithiol ; eithr lle nad oes digonedd o dwfr, yr hyn sydd yn bod mewn amryw ranau o'r swydd hon, bydd y cnŵd yn brin ; ond gan amlaf, fe godir porfa anifeiliaid da o hono, yr hyn fydd yn beth lled ddymunol y tymhor presennol.

Melwnau (melons), ydynt yn aml ar fy farchnad; er yn ddiweddar iawn, o herwydd y methiadau cynnar, a'r ad-hauad dilynol ar amser diweddar. Tra y parhauo y tywydd yn dwymn gallwn eu mhwynhau; eithr ni ddylai y cyfrai a brisiant iechyd twyta melwnau diweddar ar dywydd oer.

Cnŵd y Betys Siwgr a fydd braidd wedi hollol fethu mewn amryw lefydd, gan iddo gael ei niweidio yn fawr gan geiliogod y rhedyn.

Gwneuthur Siwgr yn Provo sydd, fel y mae yn dda genym ddeall, yn parhau i fod yn waith ennillfawr. Oni ellir tynu y *saccharine* oddiwrth y dail heb adael eu blas ar y siwgr? I ychydig brofiadau yn y gelfyddyd newydd hon mae'n ddiau y

byddai canlyniadau trwy ba rai y rhoddid math da o siwgr.

FFRWYTH, yn rhanau uchaf y ddinas, a fydd dipyn yn helaethlawn; yn y rhanau îsaf ni fydd ond yn brin, gan iddo gael ei dorri ymaith gan y rhewogydd diweddar. Y mae tiroedd yn y rhan uchaf, neu i'r gogledd ddwyreiniol o'r ddinas, pridd pa rhai sydd gymhwysiadol iawn i wrteithio ffrwyth, gan nad ofynant ond cyffyrddiad medrus y garddwr, ynghyd a ffydd y Saint, er dwyn ffrwyth yn mhob amrywiaeth, ac yn ei berffeithrwydd mwyaf.

Ond fe ddylai y Saint yn mhob rhan o'r ddinas hon, ac yn mhob dinas trwy y Diriogaeth fod o ddyfrif yn nghafael a gwrteithio ffrwythau o bob math. Ceisiwch wybod pa rywiogaethau â faethir oreu ar eich tir eich hun, a gwrteithiwch yn ol hyny.

Felly y llawenheir eich calonau chwi a'ch plant wrth gyfranogi o felus ffrwythau y ddaear, y rhai sydd yn fwy llesiol i ddyn na chig anifeiliaid.

Mewn gair, cynnyrchwch a chodwch bob peth sydd yn ddymunol i'r llygaid, neu yn dda i ymborthi arno—blodau i harddu ac addurno eich llwybrau, pys, ffâ, melwnau, yd, cloron, *squash* i foddhau y chwaeth yn y tymhor o hono,—dâ, moch, ac ednod, yr oll o ba rai a ychwanegant at eich dedwyddwch a'ch cysur—eithr na adewch idd eich cywion ddystrywio gerddi eich cymmydogion.

Y lle goreu i fagu cywion yw ar eich ffermydd; eithr od oes neb yn awyddus i'w cael yn y ddinas, cadwer hwynt yn nghau i mewn yn ddiogel, o'r amser yr hauir yr hâd cyntaf, hyd oni fedir eich cnydau.

Galwn sylw ein darllenwyr at hysbysiad y brawd C. H. Oliphant, ar tud. 183 [o'r *Deseret News*, fod y brawd O. yn dilyn y gelfyddyd o impio coed ffrwythau.] Cynghorwn y rhai a chwennychant gael ffrwythau breision i achub y cyfleustra yma yn ddioed.

CYSGOD-GOED sydd, fel y mae yn dda genym sylwi, yn dyfod yn lled aml trwy ein dinas, a thyfant yn rhagorol. Yr hydref, yr hwn sydd ar ddyfod, sydd yn amser da i blanu coed

o bob math. Pren-cotwn yw y goreu a'r un sicraf o dyfu wedi ei ail blanu yn y dyffryn. Dylid ei geibio i fyny a gwreiddiau digonol iddo, gosod y planhigion 12 neu 15 troedfedd oddiwrth eu gilydd, a'u dyfrhau yn helaeth, yn enwedig yn ystod tymhor ail blanu.

Y TYWYDD, am yr ychydig ddyddiau mynedol, sydd wedi bod yn glir ac hyfrydlawn yn y dydd; y nosweithiau yn aml yn oerllyd iawn—gwyntoedd uchel yn lled aml.

Y TANAU YN Y MYNYDDAU sydd yn parhau o hyd er gwaethaf y gwlaw, ac o'r herwydd, bỳrheir ein golygfa yn fawr gan y cymmylau o fŵg a orchuddiant y mynyddau, ac weithiau a lanwant y dyffryn.

TOAD AMSEROL y Bowery â helyg sydd yn cael ei orphen.

LLADD GWAIR sydd yn cael ei wneuthur yn hwylus. Yn awr yw yr amser—sicrhewch wair idd eich hanifeiliaid.

Y DEML.—Drych ddarlun o'r hardd adailad hon sydd i'w weled yn hongian yn Swyddfa y Llywodraethwr. Mae y gwaith o drin y cerrig i'r muriau yn myned yn ei flaen yn hwylus.

Plastriad a chwblhâd mur Adran y Deml sydd yn ymhwyluso—y rhan ogleddol wedi ei orphen, ac yn agos i hanner yr ochr ddwyreiniol.

TAI GWYCHION sydd yn cael eu hadeiladu yn amrywiol barthau y ddinas; a thra y mae adeiladiad tai gwychion, a'r ysbryd ymwellhau à ddangosir yn gyffredinol yn arddangosiad boddhäol o ddyfal ymdrech ac anturiaeth y Saint, na fydded iddynt yn amldra eu hachosion eu hunain anghofio Tŷ yr Arglwydd. Dywedwn wrth y Saint, bydded gorpheniad y Ty yn wastadol o'ch blaen, ac na fethwch mewn rhoddi y cyfryw gynnorthwy at y gwaith ag a roddes Duw o fewn eich cyrhaedd.

Ffermwyr, deuwch i mewn a'ch gwenith degymol, ymenyn, caws, cywion, &c., fel y llawenhäo eich brodyr ag ydynt yn llafurio ar y deml, ac y dilynont yn ddiwyd gyda eu llafurwaith. Ac Esgobion, arnoch chwi a'ch gwahanol ddosparthiadau y mae yr alwad am chwaneg o weddeuau i gludo meini at y Deml. Cyfarfydder y galwad yma ag attebiad boddlongar.

HALEN, mewn sypynau mawrion sydd yn cael ei osod yn Ystor-dy y Degwm; ac oddiwrth arddangosiadau presennol,

cawn ddigonedd i achub nid yn unig ein hunain, ond feallai ereill a ddymunant ei gael. Nid oes lle i gynnwys ychwaneg yn bresennol, felly, gellwch orphwys â'ch halen am ysbaid, a chludo cerrig at y Deml os gwelwch fod yn dda.

Ceir yr halen o lỳnoedd mawrion, y rhai yn ystod yr uchelddŵr a ffurfiant ran o'r Llyn Halen Mawr, ond pan ostynga y dyfroedd, erys yr halen ar wyneb y tir yn drwch o dair i chwech modfedd, mewn sypynau diddarfod, a hyny am y pellder o ddwy i dair milldir oddiwrth y Llyn. Y mae yn lân ac yn wỳn iawn, ond rhywbeth yn arw.

Iechyd y Ddinas sydd yn gyffredin yn dda, er y fod yn mhlith y plant grŷn afiechyd, a pheth marwoldeb. Poethder yn y llygaid sydd wedi, ac yn parhau i lywodraethu. Mae'n ddiau y cynnyddid llawer ar iechyd plant drwy ddoethach driniaeth gan eu mhamau. Eithr tra y cyfrenir tê, coffi, cig, bara, &c., nad pa mor lleied o honynt, i fabanod, y rhai ydynt yn hollol analluog i dreilio y fath ymborth—neu unrhyw ymborth arall ond yr hyn a ddiwellir iddynt gan natur—clafychu a marw a wna ein plant.

Alphabet Deseret.—Darperir *punches*, *matrices*, a *moulds* gan y brawd Sabins, er castio argraff llythrenau yr *Alphabet* Newydd; ac yr ydym yn hyderu y gwelwn cyn hir *font* o argraff-lythrenau heirdd, a llyfrau rhwydd yn y *style* newydd, wedi eu hargraffu er defnydd i ein hysgolheigion.

Torrwyd llythyrenau mawrion o'r egwyddor yma gan ddau o wyr ieuangc medrus o'r swyddfa hon, pa rai gyda thaflen arddangosiadol, a ellir gael yn y *Post-office*

Ysgol Newydd.—Mae y Proffeswr Orson Pratt, hen., wedi cynnyg yn haelionus ei wasanaeth yn rhadlawn i ddinasyddion y ddinas hon a'i chylchoedd, i arolygu ysgol yn nghangenau uchaf celfyddydiaeth, sef, Philosophyddiaeth, Astronomyddiaeth, Fferylliaeth, Trydaniaeth, *Algebra*, Tir-fesuriaeth, Mesuryddiaeth, Tryfal-fesuriaeth, Peirianyddiaeth, *Differential and Integral calculus*, ynghyd a'r defnydd o amrywiol offerynau—yr ysgolheigion i ddiwallu ystafell, llyfrau, &c.

Nis gallwn lai na llawenychu ein dinasyddion ar y cyfleusdra manteisiol yma o gael dealltwriaeth o'r cangenau pwysig yma.

Adnabyddir cymhwysderau y Proff. Pratt yn rhy dda i ofyn ein sylwadau ychwanegol ni; bydded yn ddigon i ddywedyd y fod pob rhwyddineb yn awr i'r cyfrai a geisiant ddoethineb megys trysorau cuddiedig, idd ei chael heb nemawr gost—yn agos heb arian ac heb werth; ac hyderwn y gwerthfawrogir y cynnyg haelionus yma, ac ei derbynir yn fuan.

Y mae Seion yn blodeuo, ac y mae ei mheibion a'i mherched yn llawenhau yn ei llwyddiant. Y mae heddwch yn teyrnasu yn Utah, a mawr yw heddwch y cyfrai ag ydynt yn cadw cyfraith yr Arglwydd.

---

*Taliadau at Ddyled Cynnadledd Orllewinol Morganwg o Hyd. 23ain hyd Tach. 8fed.—(Yr Addewidion Cyntaf.)*

| | £ | s. | d. | | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| George Watkins, Cyfyng.... | 0 | 7 | 0 | Rees Williams, Ystrad .... | 0 | 2 | 6 |
| Esther Williams, etto...... | 0 | 2 | 6 | Jenkin Dafydd, Cefn Cenffig | 1 | 0 | 0 |
| David Davies, Abertawy.... | 0 | 10 | 0 | Wm. Williams, St. Brides.. | 0 | 1 | 0 |
| Mary Roberts, etto ........ | 0 | 5 | 0 | | £2 | 8 | 0 |

D.S. Oedasom am un rhifyn etto i gyhoeddi enwau y rhai na thalasant eu haddunedau cyntaf, eithr dysgwylied y sawl a fo heb dalu yn gynt i weled ei enw yn y rhifyn nesaf. Cydnabyddir yr "ail-addunedau" yn y nesaf.

Derbyniadau am Lyfrau o Hydref 23 hyd Tach. 8.—Thos. Evans, £1 10s; G. W. Davies, £25; Hugh Roberts, £2; Griffith Roberts, £1 1s; Benjamin Jones, £1 11s; John Richards, 2s 4c; John Gibbs, 15s; Isaac Jones, £6 2s 4c; Thomas Morgan, £2; Wm. Lewis, Gorllewin Morganwg, £1 2c.

Cyfarwyddyd.—Thomas Harries, "Udgorn Seion" Office, Swansea.

☞ Anfoned yr Ymfudwyr i'r Taleithiau eu blaen-dâl, a chlywant drwy yr Udgorn pa bryd yr hwylia y llong gyntaf.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---


ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 24.] TACHWEDD 24, 1855. [CYF. VIII.

## YR YMFUDIAD.

*(O'r "Star.")*

*Swyddfa Cwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus,*
*D. Ll. H. Mawr, Awst* 31, 1855

ANWYL FRAWD FRANKLIN.—Anfonwn ychydig o enwau mewn llythyr arall, y rhai y mae eu cludiad trosodd wedi ei dalu yn mlaenllaw, yr hyn fydd y llwybr a gymmerwn o hyn allan os anfonir am rai o'r Swyddfa hon; lleihâ hyn lawer o'r nifer, gan nad yw taliadau yn hollol mor aml ag addewidion, ac fe rydd lawer gwell cyfleusdra i chwi i gynnorthwyo y rhai hyny yn Mhrydain ag ydynt wedi bod yn yr Eglwys oddiar dechreuad pregethiad yr Efengyl yn y gwledydd yna; hen aelodau, llawer o ba rai ydynt wedi aros ar ol am eu bod yn dlawd ac yn analluog i fyned ymaith, neu ag ydynt yn fethiedig ac yn aros yn y Cangenau yn ddisylw braidd, gofynir i ni gynnorthwyo y rhai hyn allan, a'u dwyn i Seion, lle y gellir gofalu drostynt, a lle na oddefir iddynt fod mewn eisieu o angenrheidiau bywyd; helwch hwynt allan, nid y rhai mwyaf eu stŵr ydynt, a gofynir i chwi wneuthur ymchwiliad manwl trwy yr holl Gangenau, fel na oddefir i neb o'r hen aelodau hyn aros ag ydynt yn hiraethu am waredigaeth.

Gellwch gyhoeddi y llythyr hwn, fel y darllenont ef, ac y gwybyddont eu breintiau hwy a'n teimladau ni tuag at y rhai a brofasant i raddau eu cariad at yr Efengyl.

Cyfranodd rhai o'r brodyr yma gryn lawer o feddiannau i

Gwmpeini y D. Y. Barhaus, ac yr ydwyf i fy hunan wedi cyfranu gwerth tua 60,000 o ddoleri o feddiannau, desgrifiad o ba rai sydd yn cael ei anfon i chwi, a chymhellwn y brodyr cyfoethog i'w prynu, felly gallant sefydlu mewn lletydd dymunol pan gyrhaeddant, a gofynwn i'r holl frodyr cyfoethog ag ydynt yn ufyddhau i'r Efengyl yn Ewrop, i ddegymu eu mhoddion ar eu dyfodiad yn aelodau o'r Eglwys, a gwneir ef yn ddefnyddiol i gasglu Israel.

Yr eiddoch yn y Cyfammod,

BRIGHAM YOUNG,

*Llywydd Cwmpeini y D. Y. Barhaus.*

---

SYLWADAU Y LLYWYDD F. D. RICHARDS

Bydd i'r uchod loni calonau y Saint hyny ag ydynt wedi hir aros—pa mor bryderus, hwynt eu hunain a brofasant—am eu gollyngiad yn rhydd o Babilon. Yr oedd llawer, yn ddiau, wedi gobeithio cyhyd y caent fyned, hyd oni ymollyngodd holl ddysgwyliad yn ol i gysgod anobaith. Ymddengys ffafr yr Arglwydd a'i weision fel pe byddai yn awr yn troi at y cyfryw rai, a dywedwn, gobeithiwch yn y blaen o hyd, ac na wanhaed eich ffydd.

Yr amcan mawr cyntaf i'w gyflawni, wedi i'r Eglwys gael ei gyru i'r diffaethwch, oedd i barotoi lle cyn gynted ag y gellid, i'r hwn y cesglid y tlodion mewn diogelwch, ac i gael moddion i fyw arnynt.

Sefydlwyd Cwmpeini y D. Y. Barhaus i'r dyben neillduol o gasglu y tlodion. Mewn trefn i gyflawni hyn yn y modd mwyaf difeth, bu yn ddoethineb hyd yn awr i ddefnyddio y moddion prin oedd at ei ddefnydd yn y ffordd a ystyrid oreu er cryfhau sefydliadau ieuainc yr Eglwys mor gynted ag oedd yn ddichonadwy. Gwnaethpwyd hyn i raddau helaeth trwy gynorthwyo llawer o rai a allasent ddiwallu rhan eu hunain o'r modd a ofynid i'w hymfudo. Dangosodd yr Arglwydd ei gymmeradwyaeth o ymdrechiadau ei bobl yn yr ymarllwysiad helaethlawn o'i fendithion arnynt. Cyffiniau Seion sydd wedi cael eu hymeangu, a'i hestynfeydd eu cadarnhau. Y mae amrywiol agoriadau i lafur-waith cynnyrchiadol yn gyrhaeddadwy yn awr i'r cyfryw nad ymddibynant ond ar eu dwylaw yn unig

afaelyd yn rhwydd yn anghenrheidiau bywyd, a bod yn alluog mewn ychydig flynyddau i estyn cynnorthwy i ereill. Dinasoedd ydynt yn codi yn gyflym ar bob llaw, yn mha rai y geill y tlodion digartref gael cysgod rhag gerwindeb y gauaf cyntaf, yn lle byw mewn pedrolfenau, neu ystafelloedd yn y ddaear, fel ag y mae miloedd wedi gwneuthur cyn hyn, o herwydd nad oedd amser i adeiladu amledd o dai. Ffermydd ydynt wedi amlhau, ac o ganlyniad mae y modd i roddi diwalliad helaethlawn o ymborth wedi cynnyddu llawer, fel na raid i'r tlodion fod mewn angheu, na'r neb a weithio fod yn newynog. Mewn gair, mae yr Arglwydd wedi bendithio y ffyddlawn yn Seion, fel y maent yn alluog, a pheth arall sydd yr un mor anhebgorol, yn foddlon arddangos yn weithredol yr awydd a deimlasant bob amser dros gasgliad Israel, trwy gynnyg eu tai, eu mhelinau, a'u ffermydd gwychion i'r dyben hwnw. Gorphwysa yn awr ar y brodyr yn y wlad hon, a feddant y moddion i arddangos y cyffelyb deimlad yn y gwaith gogoneddus hwn, trwy ddyfod yn mlaen a phrynu y llefydd hyfryd hyn a barotöwyd iddynt trwy ddyoddefiadau a chaledwaith eu brodyr y *pioneers*.

Gair yr Arglwydd yw i alw allan yr hen, y methiedig, a'r amddifaid, y rhai hyny a ymdrechasant yn mlaen yn ddidwyll idd eu Duw a'u brodyr, ag yr ydynt o hyd gydag ysbryd rhydd ac haelionus wedi gweinyddu i'r Henuriaid, ac wedi defnyddio yr ychydig a roddes yr Arglwydd iddynt i adeiladu ei deyrnas. Felly y mae Ef wedi agor y ffordd i'r cyfoethogion i ddefnyddio eu mheddiannau er lleshâd y tlodion heb amddifadu eu hunain, ac mae y cyfrifoldeb os bydd iddynt beidio gwneuthur hyny yn awr yn gorphwys arnynt hwy eu hunain.

Y Saint a feddant feddiannau a ofynir hefyd i ddegymu eu heiddo fel ei defnyddir er casglu y tlodion. Cyfyd y gofyniad yn naturiol yn meddyliau y cyfryw,—"Pa beth fyddai y canlyniad pe peidiem a gwneuthur hyn?" Atebwn, y bydd i Ysbryd yr Arglwydd eu gadael hwynt, ac ni fwynhânt fendithion yr Offeiriadaeth. A'n i dywyllwch, a thorrir hwynt yn fŷr yn eu hiechawdwriaeth. Dyma yr orfodiaeth sydd yma ac yn Utah ar y pwnc. Gellir eu symio mor rhwydd â hyn—penderfynu pa un y mae dyn yn ei garu oreu, ei olud a'i fwynhâd, neu Deyrnas Dduw a'i bendithion; pethau da y bywyd hwn, neu

eiddo y bywyd a ddaw. Nid gosod yr egwyddor yn unig o flaen y Saint a wneir, ond gwneir y gofyniad, a dysgwylir i'r rhai a broffesant geisio yn gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder Ef i fyw yn unol a'r gyfraith hon.

Y mae rhestr o'r meddiannau a gyfranwyd i Gwmpeini y D. Y. Barhaus, gan y Llywydd Young ac ereill yn Utah, wedi ei hanfon i ni. Yr amcan yw i werthu y meddiannau hyn i'r cyfryw frodyr yn y wlad hon a feddant arian idd eu prynu, ac yna i ddefnyddio yr arian i ymfudo y tlodion y flwyddyn ddyfodol, yn unol ag ysbryd a chyfarwyddiadau y Llywydd Young. Gellir rhestru peth o'r meddiannau hyn a wyddom am danynt gyda y goreuon yn Utah. Melin flawd fawr ar y Big Kanyon Creek, tua 6 milltir o'r Temple Block yn Ninas y Ll. H. Mawr, a dalodd am dani ei hunan mewn tair blynedd, meddir wrthym ni. Tŷ a lot wych mewn man cyfleus, yn wynebu Union Square, ac a gynnygir am 12,000 o ddoleri, sydd yn awr ar rent am 2.000 o ddoleri mewn arian bob blwyddyn, neu yn ol 16 *two thirds per cent* ar y gwerth cyfrifol. Ty gwyn y Llywydd Young, ac ysgubor, cerbyd-dŷ, ac adeiladau ereill perthynol iddo, a ystyrir gan lawer ei fod yn y man mwyaf cyfleus yn Nyffryn y Llyn Halen Mawr, gwelir ef o bob man yn y Ddinas braidd. Lle dymunol yw i'r neb a chwennychai gartref cysurus a chyfleus yn barod iddo ar ei fynediad i'r mynyddau. Gellid meddwl y cytunai yr ammodau ar ba rai y cynnygir y meddiant o hwnw â meddwl y tŷnaf. Os gwerthir unrhyw ran o'r meddiannau hyn yma, cyn yr hysbysir y Llywydd Young am eu gwerthiad yma, ad-dalir yr arian a dalwyd yma ar drosglwyddiad o'n *draft* yn Utah, neu fe roddir meddiannau yn lle hyny. Os na fydd y meddiannau a brynwyd yn taro y prynwr, gallant gael eu defnydd am fenthyg yr arian hyd oni eu had-delir. Mewn rhyw un o'r ffyrdd hyn hyderir y cydunir â'r prynwyr. Mewn ychwanegiad i'r meddianau a nodwyd, cynnygir amrywiaeth o dai, *city lots*, a thir ffarmio, ynghyich pa rai yr hysbyswn yr oll a wyddom i bersonau a deimlant i brynu. Yr amcan mawr yw, cael y moddion er cynnorthwyo i gael y Saint tlodion i fwynhau bendithion yr ymgasgliad. Gobeithiwn y cyfarfydda y teimlad hyny â chydymdeimlad gwresog yn nghalonau holl Saint y Dyddiau Diweddaf trwy hyd a lled y wlad hon, ag sydd a mwy o foddion nag sydd eisieu arnynt wrth eu llaw-

Hyderwn na adawa yr Arglwydd lonyddwch ysbryd iddynt hyd oni ddeuant i fyny i gynnorthwyo y tlodion yn Israel, ac drwy fendithio y rhai hyn, i fendithio eu hunain. Gofynir i'r cyfoethogion i ddefnyddio eu mhiloedd o bunnoedd i wneuthur daioni â hwynt yr un mor resymol ag i'r tlodion i ddefnyddio eu ceiniogau, ac ni allant fedi cyfu ch be dithion heb wneuthur felly.

Galwn yn awr ar y Bugeiliaid a'r Llywyddion yn yr amrywiol faesydd llafur i fyned o ddifrif ati, a chwilio allan yr holl frodyr a'r chwiorydd hyny a ymunasant â'r Eglwys yn foreu, dywedwn er ys deg, neu o hyny hyd ddeunaw mlynedd yn ol, ac a fuont yn ffyddlon yn achos y gwirionedd. Dymunem i hysbysiad am danynt gael ei anfon i'r Swyddfa hon, yn cynnwys y pethau canlynol—y nifer o flynyddau ag y maent wedi bod yn yr Eglwys, eu hoedran, gwlad eu genedigaeth, a pha swm y maent yn debyg o allu gael tuag at eu hymfudiad, fel, mor gynted ag y gallwn droi yn arian y meddiannau ag ydynt wrth ein llaw, y caffom yr iawn gyfarwyddyd o'n blaen i weithredu yn ei ol, a bod yn alluog i dorri allan y cyfryw fesurau a gyflawnant oreu fwriadau y Brif-Lywyddiaeth. Ymddibyna pa nifer a ellir ymfudo gan Gwmpeini y D. Y. Barhaus yn y tymmor dyfodol ar hyny o feddiannau a ellir eu cael fel hyn. *Nis gellir defnyddio arian y D. Y. Barhaus i gynnorthwyo neb ond y rhai ydynt yn myned trwyodd yn ddiaros i Utah, a than ofal goruchwylwyr y Cwmpeini.*

Y mae gan y byd o'n hamgylch lawer i'w ddywedyd ynghylch pleidgarwch yn eu gweithrediadau. Y maent yn gyffredin yn rhoddi eu gair da a'u dylanwad pleidiol o herwydd cyssylltiad a pharch personol, heb sylwi llawer ar egwyddorion cywir yn y mater, nac ar wir deilyngdod gwrthddrych eu cymmwynasgarwch. Nid dyma y cymwynasgarwch ag y gelwir am dano yn awr, eithr dymunem i'r Llywyddion i ddiwyd chwilio allan yn fwyaf neillduol y rhai hyny ag ydynt gydag amynedd, ac efallai yn ddistaw wedi dyoddef pob peth er mwyn yr Efengyl. Tlodion yr Arglwydd yw y rhai y gelwir mor bendant arnom eu cynnorthwyo, a'r amser y gwasanaethpwyd, oedran, ac amddifadrwydd a ddylent fod y rhesymau mwyaf neillduol ac amlwg er teilyngu cymmwynasgarwch a bendithion yr ymgasgliad.

## LLYTHYR Y LLYWYDD YOUNG AT Y LLYWYDD F. D. RICHARDS.

*(Allan o'r "Star.")*

*D. Ll. H. Mawr, Awst* 31, 1855.

HEND. F. D. RICHARDS,—Anwyl Frawd,—Ar yr 2il o'r mis hwn cyrhaeddodd eich llythyr dyddiedig Mehefin 1af, yn cynnwys cofnodau oddiwrthych at B. Young, ac enwau y rhai a fethasant ddyfod ar alwad y D. Y. Barhaus, ynghyd a'r achosion paham na ddaethant, ond wrth gwrs yn rhy ddiweddar i ni allu eu hateb gyda y mail blaenorol; hefyd, llythyr oddiwrth y Brawd Luddington. Tiriodd efe, N. V. Jones, a Fatheringham yn San Francisco, ac mae yn debygol y cyrhaeddant yma yn yr hydref. . . . .

Atebwyd eich llythyrau genyf yn gysson ac yn brydlon. Boddheir fi yn fawr yn ymddygiadau y Brawd Daniel Spencer, bydd ei bresennoldeb yn ddiau o fawr fend'th yn cynghori, ac yn cynnorthwyo yr Ymfudwyr i gael cychwyniad hwylus i groesi y plains, ynghyd ag i gysuro y rhai a arosant ar ol; ac hefyd, er cynnorthwyo ein brodyr ydynt yn Llywyddu yn St. Louis a'r cylchoedd.

Yr wyf yn ymwybodus y rhaid fod ei wynebpryd adnabyddus mor ddiddysgwyl drachefn yn eu plith, ar ol marchogaeth yr "Hen Fôr," a dyfod yn ddiangol o beryglon mordwyol yr afonydd mawrion wedi gwneyd i galonau y brodyr lawenhau.

Ni chawsom hysbysiadau pendant o'r plains er pan gychwynodd y gwersylloedd, etto deallwn fod amryw wedi cwympo drwy fflangell y byd hono, sef y Cholera, eithr yn fwyaf cyn cychwyn. Ni fu mor ddinystriol serch hyny ag yn y flwyddyn fynedol. Anfonasom amryw weddeuau llwythog o flawd i'w cyfarfod. Mae yn debyg yr hysbysir ni o barthed i'w hamgylchiadau gyda y mail dyledus diwedd y mis hwn, yr hwn a gyrhaedda yn gyffredin trwy drefniadau rhagorol y dirprwywyr a diriant yma yn mhen o ddau i ddeng niwrnod ar ol cychwyniad y llall, a'r hwn, o dan ddylanwad neillduol ysbryd cymmwynasol, sydd bur fanwl i gychwyn yn foreu y dydd cyntaf, rhag ofn, mae'n debyg, y bydd i'r llall drwy rhyw anffawd ddigwydd cyrhaedd yma cyn iddo ef gychwyn. Ni

raid iddynt brysuro ymaith felly, canys nid oes ronyn o berygl, o herwydd dygwydda y camsyniadau bob amser o'r ochr arall.

Deallwch y bydd raid i'r oll a ddel gyda y mail felly aros ar law heb fodd i'w ateb am yn agos i fis. a'r pryd hyny weithiau gorfodir ni i ysgrifenu heb fod y llythyrau a atebir wrth law efallai i'n cyfarwyddo; rhaid i hyn ein hesgusodi rhag yr hyn a ymddengys weithiau fel yn esgeulusdod i ateb llythyrau.

Mae y Brawd P. P. Pratt yma yn awr, wedi cyrhaedd yn nghyd a gwersyll bychan ar y 18fed o'r mis hwn. Mae y Brawd Canon wedi argraffu y ddwy ran gyntaf o Lyfr Mormon yn yr Hawaiiaeg, a bwriada gyhoeddi Newyddiadur yn San Francisco.

wn yn y blaen fel arferol gyda'r adeiladau cyhoeddus, mwynheir heddwch, ffyniant, ynghyda iechyd cyffredinol gan yr holl bobl. Edrycha y cnydau diweddar yn weddol dda, y rhai ydynt gan mwyaf, ŷd yr India, cloron, &c. Credwn y bydd digonedd o luniaeth i bawb os iawn ddefnyddir y cyfan.

Danfonwn i chwi ddesgrifiadau o lawer o feddiannau, y rhai ag y dymunir arnoch eu gwerthu os gallwch am y prisiau a osodir arnynt, a derbyn yr arian yna. Mae yr holl feddiannau wedi cael eu desgrifio yn gywir. Os gwerthwn yr unrhyw, neu gyfran o honynt i arall cyn y cyrhaedda yma y rhai a'u prynasant gyda chwi yna, rhoddir eu harian yn ol iddynt, neu unrhyw feddiannau ereill o gydwerth a ddewisant. Yr ydym yn foddlon i'r arian a dderbyniwch am danynt fyned i dalu traul mudiad y *Saint Tlodion* drwy y D. Y. Barhaus, neu os na ddewisa y rhai a feddant arian i brynu meddiannau yma, caffant gynnyg arall etto, sef yw, *rhoddwch use yr arian i ni am use y meddiannau.* Ystyriwn y fod yn ddichonadwy gwneuthur y fath drafodaeth, ac y byddai yn gyd-lesiol i'r pleidiau perthynol, heblaw dwyn arian i goffrau y D. Y. B. . . . .

Anfonwn hefyd gyda y *mail* hwn ychydig enwau ag yr anfonir am danynt gyda y D. Y. Barhaus.

Aiff y Dr. J. M. Bernhisel allan gyda y *mail* hwn, gan ddychwelyd yn Ddirprwywr drosom etto i'r Senedd. Dewiswyd y Brawd Asa Calkins o'r Swyddfa hon, mewn atebiad i'ch galwad chwi am ysgrifenydd, fel y gallo y brodyr Linforth a Jaques ddyfod i'r Dyffryn y tymmor dyfodol. Cychwyna yn mhen tua deng niwrnod gyda James S. Scoffield, James Lavender, ac

amryw ereill a benodwyd i fyned ar genadiaethau i'r Taleithiau Unol.

Dysgwyliwn chwi a'r Brawd Daniel Spencer adref yn y tymmor nesaf, a dymunaf yn neillduol ar fod fy mab Joseph A. yn dyfod gyda chwi. . . .

Gan ddymuno fy nghofio at yr holl Henuriaid, y rhai a feddant fy serchiadau gwresocaf, gan weddio ar fod heddwch Duw yn gorphwys arnoch chwi, ynghyd a'r holl fendithion anghenrheidiol arnoch.

Gorphwysaf fel arferol,

Eich Brawd yn y Cyfammod,

BRIGHAM YOUNG.

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

## DYDD SADWRN, TACHWEDD 24, 1855.

YR YMFUDIAD.—Cymhellwn ein holl ddarllenwyr i ddarllen llythyrau y Llywydd Young ar yr ymfudiad yn y rhifyn hwn, ynghyd â sylwadau y Llywydd Richards fwy nag unwaith, gan dystio mai po amlaf y darllenasom ni hwynt, melysaf o hyd y mêl a gynnwysant. Mae gweithredoedd y Llywyddiaeth ac ereill yn Seion yn anrhegu y D. Y. Barhaus ag hyd y nod eu tai, eu ffermydd, a'r meddiannau goreu a feddant, er casglu y tlodion ffyddlon i Seion, yn arddanghosiad eglur o'r mawr bris a roddant ar ffyddlondeb a rhinwedd, ac yn gymhelliadol i'r Saint i gadw cyfraith Duw po fwyaf, mai yn hyny y mae eu lleshâd a'u hymfudiad—eu gogoniant tragywyddol; ac megys y teimla y Llywydd Young gariad at, ac y gofala dros y ffyddlonaf pe y tylotaf, felly y teimla pob Llywyddion drwy yr Eglwys i'r graddau y meddant Ysbryd Duw. Llawenhewch ynte. Saint, hyd y nod mewn tylodi a gorthrymderau, mae gofal drosoch—"Gofala Duw drosoch chwi," ac y mae yn gwneyd hyny; gweddiwch ar iddo roddi yn nghalonau y cyf

cyfoethogion i brynu y meddiannau cyfeiriedig, fel eich hymfuder chwi i Seion â'r arian hyny.

Er nad yw haelioni canmoladwy ein hanwyl Lywydd Young yn y peth hwn yn unrhyw newydd i ni, canys gwelsom ddigon o hyny eisoes i'n boddhau o barthed i'w rinwedd, etto galwn sylw y byd, yn enwedig y Gol's a gyhoeddent, er ys ychydig yn ol, "fod B. Young, mewn amser newyn, yn gorfodi y Saint i adeiladu tŷ mawr iddo ef i gynnal ei liaws gwragedd," at y ffaith wrth-gyferbyniol i hyny, sef, yw fod B. Young yn lle hyny yn anrhegu Saint tlodion Prydain â'r tŷ oddi uwch ben ei deulu ei hun, er eu cynnorthwyo i ymfudo! Pwy a allai ddangos mwy o gariad at ei frodyr, nac o hunan-ymwadiad nâ hyn? Tawed yr annuwiolion â'u clebar rhag eu cywilydd bellach hyd oni ragorant hwy ar hyn, ac ymegnied y Saint eu goreu i gynnorthwyo eu hunain.

Nid yw Ysbryd yr Arglwydd Dduw yn cynhyrfu yn y gwersyll yn Seion i hyd y nod achosi i'r Saint yno ymadael yn wir-foddol â'u mheddiannau fel hyn, ac i gymhell mor daer ar yr holl Saint drwy'r byd i wneyd pob ymdrech, ac achub pob ceiniog i'r dyben o'u casglu adref, heb fod achosion cyferbyniol mewn mawredd a phwysigrwydd yn cynhyrfu hyny, ac ni fydd y canlyniadau o esgeulusdod yn hir heb ymarllwys ar ben yr euog, nac yn ysgafn na gocheladwy pan y deuant. Frodyr! y rhai a feddwch olud, mae o bwys mawr i chwi yn awr, ystyried y defnydd a wnewch o hono; nid yw Duw yn galw ar y rhai sydd yn Seion i aberthu eu tai, &c., er casglu y Saint heb feddwl eu talu y "càn cymmaint" am hyny; etto, dengys odidawgrwydd ei haelioni drwy gymmeradwyo yr aberth a ddewiso dyn wneyd, boed fwy neu lai, a dengys ei gyfiawnder hefyd drwy ei ad-dalu, a'r llôg yn gyferbyniol i'r hyn a wna. Er y byddai yn gymmwynas fawr ag achos Duw, a'i blant, ac â Seion, i'r cyfoethogion yn y wlad hon brynu y tai, &c., a gynnygir ar werth gan y Llywydd Richards, ni allwn ddirnad y bydd cymmaint gwobr i'r cyfryw ag i'r aberthwyr o honynt. A phaham yr abertha y naill yno fwy, nac yn fwy ewyllysgar nac y gwna plant ereill yr un Duw, serch eu bod hwy yma, sydd gwestiwn a deilynga ei ddwys ystyried gan y rhai a feddant olud yma—os da y gwnant, iddynt eu hunain y gwnant y da mwyaf.

Dywenydd mawr iawn yw clywed y newyddion gobeithiol a'n cyrhaeddant o bob Cynnadledd braidd, ac yn neillduol drwy lythyr y Llywydd Daniels am Sir Gaer a Sir Aberteifi, sef yw y fod y naill yn gwerthu eu tai, ereill eu hen gelfi oesol, eu teganau. a'u hafreidiol bethau; fod y ffermwyr yn gwerthu eu hanifeiliaid, ac yn rhoddi i fyny eu ffermydd, a'r masnachydd yn dirwyn ei bellen hir i ben, yn lle darparu rhai newydd; fod yr hen glociau càn-mlwydd, y coffrau, a'r *pewters*, y *bureaus* a'r delwau, a'r ystafaldiau lle y llettyai y tylwyth teg gynt (ebent hwy), a'r pryfgopyn—oll yn cael goleu haul am unwaith, a dynion yn dod i brisio eu hachubiaeth eu hunain a'u heppil yn well nag i dreulio eu hoes i edrych ar, ac yn scwrio hen gelfi diwerth. Yn hyn mae doethineb—mae y bywyd yn fwy ei werth nâ'r bwyd, a'r corff nâ'r dillad, nâ'r celfi chwaith. Ofer dysgwyl i Dduw ddanfon angel i ymofyn y Sant ffyddlonaf tra y glyna ef neu hi wrth ei *chest of drawers* na'u palas, ni chariai efe y naill na'r llall dan ei adenydd, os adenydd hefyd, pe y denai—gwell eu gwerthu a myned tua Seion tra parhao eu pris, *wed'yn, nid cynt* y denfyn Duw ei gymhorth. Helpia Efe y sawl a helpia ei hunan yn unig. Nid oes genym ronyn o obaith gweled byth yn Seion y sawl esgeulusa werthu eleni yr hyn a fedda, gan feddwl cael mwy pris y flwyddyn nesaf, gwelsom ormod o siomi yn y fath hudoliaeth i allu credu llawer o ddaioni am dano. "Yn awr," ynte, mae Duw yn galw, yn *awr* atebed pob ufydd blentyn iddo, mi ufyddhâf i'w alwad.

Mewn atebiad i ofyniadau mynych, pa beth sydd oreu i wneyd â'r arian a feddir ar law hyd amser yr ymfudiad, dywedwn, wrth un ac oll,—anfonwch hwynt yma, nad faint fyddant, pe ond punt, pe yn gannoedd, goreu po fwyaf, ac anfonwn hwynt yn y blaen i'r Llywydd Richards i Liverpool, lle y byddant yn hollol ddiogel rhag i ladron eu lladrata, rhag i gnafiaid eich pluo o honynt. drwy addewidion teg o'u talu yn ol yn mhen ychydig ddyddiau gyda llôg anferth; rhag i na gwraig anhywaeth. mamgu, na pherthynas eich gwaedu o honynt, ac fel na ddygwydda y mil damweiniau gwybodus i ni a gyfarfu y Saint ymfudol, drwy roi gormod cred mewn rhai annheilwng, ac felly gofidio eu calonau hwy a ninnau wrth weled y fath golledion drwy ddiofalwch. Yr ydym wedi cael ein gorfodi braidd i gredu fod brenin Babel—y gwr drwg ei hunan, a'i holl

fyddin yn rhythu mor graffed ar blant Seion pan yn parotoi i'w gadael ag y rhytha barcytos eu gyddfau hirion uwchben haid o gywion a ddilyna yr iar o'i nhyth, a llawn mor wancus hefyd, fel pe yn eiddigeddus fod y Saint yn yspeilio Babilon drwy gymmeryd yr eiddynt eu hunain o honi. Am hyny, gwylier rhagddynt mewn pryd, meddwn, a gofaler am gael dangoseg gywir am yr oll a delir iddynt cyn myned, rhag iddynt *etto*, fel llawer tro blaenorol, grafangu eich nwyfau ar lân y dwfr olaf, a gwneyd i chwi dalu wed'yn neu golli eich *passage*. Gwneir, drosodd a throsodd y gwneir hyn, a gwneir yn waeth etto os na wylir, fel y cynnydda drygioni ac anonestrwydd yr annuwiolion a adewir ar ol.

Dywedwn y bydd pob ceiniog a anfonir drwom ni, am y rhai y ceir dangoseg yn ol, yn barod at alwad eu perchenog pan y dewiso. Gall naill ai eu cael yn ol yn Liverpool cyn ymfudo; talu ei gludiad: cael dangoseg i fyned at y Llywydd Young, yr hwn a'u tala yn Seion fel y mynir, yn arian, yn dai, tiroedd neu adeilada iddo dŷ fel y myno, y lle y myno yn y ddinas, a'r amser y myno, a gwyddom y gwna hefyd yn llawer gwell, cynt a rhatach nag y gall un dyn ei wneyd ei hunan ag arian parod, a'r sawl a wnel hyny a gaiff ffafr Duw, Brigham, a'r Offeiriadaeth, heblaw bendithion y Saint tlodion a gynnorthwya efe i ymfudo drwy hyny, yn hytrach na chario yr arian yn ei logell cyn belled y gall, a'u colli wed'yn, efallai. Gall pob un a ddenfyn ei arian felly gael ei amser ei hun o hyn hyd yr ymfudiad i wneyd ei feddwl ei hun i fyny, pa fodd y dewisa efe eu defnyddio, yr un fath a phe buasent yn ei logell ei hun.

Mentrwn awgrymiad bach yn mhellach er diogelwch i'r rhai a deimlant mor haelionus ag i helpu ereill, sef na roddwch eich harian i neb felly, ac na addawwch i lawer, nac i neb yw ein cynghor ni, heb ymgynghori a'ch Llywyddion, ac yr ydym ni yn myned dipyn yn hen a phrofiadol yn y fusnes o gludo pobl tua Seion hefyd bellach. "Nid goreu dysg yr hon a brynir," meddwn ni, ac nid y rhataf, mae rhatach a gwell o lawer i gael yn awr ond ei hymofyn. "Mae awgrymiad i'r doeth" yn ddigon ar hyn. Gŵyr pob gradd bellach y goreu er eu lles, os na chyrhaeddasom gyflwr pob ymofynydd, ymholer yn mhellach, a threiwn etto gyda phleser.

CLWYF YN MHLITH GWARTHEG.—Bu dros 4000 o wartheg farw yn swydd Trumbull, Ohio, yn ddiweddar, a thua 16,000 yn y swyddau cylchynol iddi o ddiffyg porthiant.

---

"Y MOR A'I DONAU YN RHUO,"—Fyddai un o arwyddion y Dyddiau Diweddaf. ebe Crist. Cododd dyfroedd Llyn Ontario ar y 25ain o Ebrill yn ddisymwth fel mur, yn saith troedfedd i'r làn, a rhuthrodd dros ei lanau, gan ysgubo pob peth braidd o'i flaen, a phan ddychwelodd gadawodd beth afrifed o'i bysgod ar y làn. Codai a gostyngai Llyn Seneca rai troedfeddi mewn ychydig fynydau am ddeu-ddydd; unwaith dysgynodd un ar-bymtheg a hanner o fodfeddi mewn chwarter awr.

---

YR AMERICA.—Parhâ nifer o ddihirod i ddifrodi tai, ydlanau, &c., a thân, a brathant anifeiliaid yr amaethwyr â chyllill, nes y cwympa eu hymysgaroedd allan, yn y Green Plains a'r cylchoedd, nid nepell o Nauvoo, yn debyg fel y gwnelid ag eiddo y Saint cyn eu hymadawiad oddiyno. Pryd hyny tadogid y drygioni cyffelyb ar y Saint, eithr ni all fod ammheuaeth bellach ynghylch eu dieuogrwydd hwynt o hyny, ac mai eu cyhuddwyr yw y dihafaliaid. Mae berw a dwndwr nodedig yn Indiana, gan lu a wrthwynebant bob cyfraith; torrant i lawr y camlasau, llosgant y pontydd, a bygythiant y melinau a thai y rhai a'u gwrthwynebant. Fflangellasant amryw, a chynnygiasant wobr fawr am benglog Llywydd y Dalaeth. Yn fuan wed'yn achosodd gorlifiad y dyfroedd a ollyngasant dros y tiroedd isel i wyneb y maes gael ei orchuddio braidd gan bryfed; cynrhon, tebyg i'r rhai a fagant mewn celain, a orchuddiant y coed, a'r gwybed yn gymylau a dduent yr awyr, ac a fynant dynu llygaid pawb drwy'r lle, a glanhau y tyllau hefyd. Diau fod yr Unol Daleithiau wedi "hau y gwynt.' drwy gefnogi terfysgwyr i ladd y Saint, difrodi eu meddiannau, a'u halltudio, ac nid rhyfedd eu bod yn dechreu "medi o'r corwynt" hwnw ambell dywysen fel blaen-ffrwyth o'r cynheuaf mawr a amdöa eu gwlad. Yn Missouri hefyd; pregethwr Wesleyaidd o'r enw Bogart ac eraill oeddynt flaenoriaid y terfysgluoedd a erlidiasant y Saint o'u tai a adeiladasant ar y tiroedd a brynasant gan y llywodraeth; yn awr deallwn fod y terfysgluoedd yn ymlid pregethwyr y Wesleyaid i ffwrdd o'r

un wlad am eu bywydau; eu bod yn talu yn ol y geiniog gyntaf iddynt o'r "hen cnwech." Yn Kansas, cymmydogaeth gyfunol i'r hon a yspeiliodd terfysg-lu oddiar y Saint,—mae y Llywodraeth yn cael yn ol iddynt eu hunain yr un mesur a fesurasant i ereill, drwy fod y terfysgwyr a gefnogent hwy i droseddu cyfreithiau rhyddid wedi ymgryfhau digon erbyn hyn i wrthsefyll y Senedd, ac wedi gwrthod, ac wedi alltudio y Llywydd a anfonasent atynt; wedi myned i'r Diriogaeth newydd, a mynu eu dewisiad eu hunain, a sefydlu yno Senedd a chyfreithiau caethwasaidd er gwaethaf pawb. Tra mae y rhydd-blaid hwythau yn hòni yr un hawl i wystlo eu heiddo a'u bywydau er cael Kansas yn Dalaeth rydd i'r Undeb, ac nid yn unig drwy fygythiadau, ond parotoadau, megys adeiladu gwest-dai mawrion ac uchel, a llefydd pwrpasol i saethu cyflegrau o honynt. Tra mae yr elfen ryfelawg yn cyneu yn gyflym yn ngwythienau y trigolion yn ddarpariadol i'r goelcerth rag-bropwydoliaethol, nid yw y Dwymen felyn ac heintiau ereill yn ol o wneuthur eu rhan, neu o leiaf o ddangos eu bod wrth law, yn barod i'r ymgyrch agosaol drwy gipio ymaith eu miloedd mewn byr amser, ac y maent yn agos a gwaghau rhai dinasoedd poblog gynt.

Y ceiliogod y rhedyn hwythau, er mor fychain, ydynt ar y maes, ac mor liosog, nid yn Utah yn unig, craffer, ond trwy California ac Oregon difâsant bob peth braidd o'u blaen; a dywedir "fod y locustiaid mor amled yn Mississippi ag yn yr Aifft pan dywalltid barnau Duw arni," ac felly mewn Taleithiau ereill, meddir. Dengys y newyn yntau ei ddanedd duon yn Canada, ac ysgyrnyga ar ardaloedd yn y Taleithiau.

Ar eu cyffiniau gorllewinol ymffrostia yr Indiaid eu bod yn barod i dderbyn byddinoedd y Taleithiau,—herriant hwynt allan; ac mae y cleddyf wedi ei dynu o'i wain bob ochr. Ymosododd y Cadfridog Harney ar wersyll o'r Brules islaw i Fort Laramie, ac wedi lladd o 70 i 80, a chymmeryd eu *squaws* a'u *papooses* yn garcharorion, ffôdd y lleill ymaith. Amlwg i ni yw fod y Taleithiau yn cynhyrfu tarw a fedd gyrn cedyrn i wneuthur ei ran yn nydd y frwydr, fel, drwy'r oll, y gwelwn fwriadau yr Anweledig yn nghrynhoad ei "fyddin fawr" olaf; golygfa a ddychrynodd yr hen brophwyd Joel er mor belled, ac fel yr eheda colomenod yw ffenestri o flaen y 'storom ymbrys-

ured plant y goleuni tua thref—yr unig ddiogel-fan. Ni ddysgwyliwn ni weled amser ag y bydd yn hawddach myned i Seion nag yw yn awr; er y daw amser cyn hir pan y bydd yn hawddach gan lawer ewyllysi) gadael Babilon nag yw yn awr; eithr y doeth a wel y drwg o hirbell a'r ffordd i'w ochelyd.

---

## TORRIAD YR UNDEB AMERICANAIDD.

*(Allan o'r "Squatter Sovereign" America.)*

DAROGANIAD arwyddion yr amserau yw, mai, oddieithr y gosodir attalfa yn ddioed gan bobl sobr synwyrol y Gogledd, ar ysbryd anffrwynadwy penboethni sydd yn awr yn codi yn derfysg, caiff adeilad godidog rhyddid gwladol, yr hwn a gyfodwyd gan waed goreu, y dynion goreu a ddangosodd y byd erioed, ei chwilfriwio yn ddarnau, ei ddiaelodi a'i ddinystrio.

Darparir eisoes gyferbyn â'r orfodiaeth erchyll o ryfela—yn hytrach na darostyngiad gwasanaethyddol, mae yr hen Virginia, mam doethion a gwroniaid y chwyldroad, ac eiddo y Ffurf-lywodraeth, wedi dechreu ymarfogi gyferbyn â'r frwydr ddyfodol, ac adseinia hyd y nod y Dalaeth Amherodraethol y tônau rhybuddiol drwy ei chyhoeddiad penaf a galluocaf,—y *National Democrat.* Onid oes gwladgarwch yngweddill yn y wlad a roddodd enedigaeth i Warren, i Stark, i Hamilton, a channoedd ereill, gwaed pa rai, gan ymgymmysgu ag eiddo Washington, Morgan, Marion, ac ereill, a roddasant i'r byd y baban gwerin-lywodraethol, sydd oddiar hyny wedi cynnyddu i fod y genedl fwyaf ar y ddaear? Onid oes ynddi wladgarwch yngweddill i lethu yr anghenfil tanllyd hwn? Neu a raid i'r fath ddynion â Fred Douglas, Gerrison, a Giddings ddinystrio y deml waed-brynedig hon o ryddid?

Cyfaddefwn yr ofnwn nad oes, ac mai mewn ychydig flynyddau y byddwn yn esiampl arall o analluogrwydd dyn i'w lywodraethu ei hun: un esiampl arall o'r drygau a'r ffolinebau a gyflawnir dan yr enw o ryddid.

---

## MOLAWD I WIRFODDOLIAID MON AC ARFON.

Boed llwydd i'r gwirfoddoliaid
  Drwy bob rhyw fan a lle,
Rhai aethant maes yn ffyddlon
  Yn filwyr dros y ne';
Anturio draws y siroedd
  I Wynedd wnaethant hwy;
Mae chwech o honynt yma,—
  Cewch glywed genyf pwy.

Yn gyntaf mi gaf enwi,
  Ein llywydd dros y lle,
Sef *William Lewis* ydyw,
  'Rhwn sydd yn ddewr heb blè;
Ac hefyd y mae etto
  Ychwaneg wrth eu gwaith,
Sef Daniel Lewis ddiwyd,
  Sy'n fynych ar ei daith.

Mae William Vaughn a Rosser,
  Elias Lewis lwys,
Ac Evan Morgans hefyd,—
  Yn traethu gyda phwys;
Y maent hwy yn rai dewrion,
  A ffyddlon heb nacâd,
I daenu'r egwyddorion
  Drwy'r *llyfrau* dros y wlad.

Am hyny frodyr ffyddlon,
  Sy'n aros yn y Dê,
Cymmerwch genyf gynghor—
  Y ffordd i fyn'd tua thre':
Dewch fyny drwy Lanidloes,
  A Llanfair'creinion crwys,
Ac i Sir Fôn,—O coeliwch,—
  Bydd Seion wlad ar bwys.

Yn awr mi wnaf derfynu,
  Mewn gobaith daw cyn hir,
Ryw lu o filwyr gwrol
  O'r dê i'r gogledd dir;

Gan adael gwag bleserau,
A dyfod at waith Duw,
Fel caffom fyn'd i Seion,—
Gwaredfan ini yw.

*Conwy.* ELEANOR ROBERTS.

---

*Taliadau at Ddyled Cynnadledd Orllewinol Morganwg o Tach. 8fed hyd 23ain.—(Yr Addewidion Cyntaf.)*

| | £ | s. | d. | | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Isaac Evans, Cwmafon .... | 0 | 9 | 0 | George Morgans etto ...... | 0 | 7 | 0 |
| Margaret Thomas, Alltwen | 0 | 2 | 6 | Mary Lloyd, Abercenffig .. | 0 | 2 | 6 |
| Thomas Lewis, Cyfyng .... | 0 | 5 | 0 | | £1 | 6 | 6 |

*Yr ail Addewidion.*

| | £ | s. | d. | | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Llywydd Dan Jones ...... | 1 | 0 | 0 | Wm Perkins, Trfeorris.... | 0 | 5 | 0 |
| Wm. Owens, Abertawy .... | 0 | 10 | 0 | Jane Perkins, ei wraig .... | 0 | 5 | 0 |
| William Roberts, Ystrad .. | 0 | 5 | 0 | Thomas Perkins, Treforris | 0 | 5 | 0 |
| David John, Glandwr .... | 0 | 2 | 0 | Thomas Griffiths, etto .... | 0 | 1 | 0 |
| Thomas Evans, Cyfyng.... | 0 | 2 | 0 | | £2 | 15 | 0 |

D.S. Dymuna y Llywydd Harries yn *daer* arnom oedi am y rhifyn hwn etto i gyhoeddi enwau y rhai na thalasant eu hadd-unedau cyntaf, o herwydd iddynt addaw wrtho y talant *forth-with*; ar ei gais, wele iddynt un cynnyg etto ynte, a'r olaf debygir a ofynir. Ymswyner rhag bod yn dorrwyr ammod pump-plyg fel hwn. Dymuna hefyd ar Lywyddion y Cangenau i fyned at y brodyr a'r chwiorydd i dderbyn eu haddewidion erbyn y daw efe oddiamgylch yr wythnos ganlynol.

CYMMANFAOEDD Y GOGLEDD.—Sir Fflint ar y 25ain o Dachwedd, Sir Ddinbych ar yr 2il o Ragfyr, Môn a Conwy ar y 9fed, Sir Feirionydd ar yr 16eg.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O TACH. 10 HYD 21.—George W. Davies. £7; Evan S. Morgan, £2; Benj. Jones, £3; Wm Lewis, £1 18s; John Richards, 16s 5; Thomas D. Evans, £1

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, " Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 25.] RHAGFYR 8, 1855. [CYF. VIII.

## Y DRYSORFA YMFUDOL BARHAUS.

*(O'r "Star.")*

FE sefydliwyd y Drysorfa hon gyntaf yn 1849. Yn 1850 defnyddiwyd y trysorfeydd i gasglu y gwasgaredigion o Nauvoo ag oeddynt gan amlaf yn Swydd Pottowatomie, Iowa. Yn 1852 bu yn foddion i ymfudo 250 o bersonau o'r ynysoedd yma, yr hyn nifer a gynnyddwyd yn flynyddol hyd 1855, pan yr oedd y nifer yn ymfudo yn 1:27.

Ymgasgliad Israel ynghyd yw gwaith mawr darpariadol y dyddiau diweddaf. Hebddo nis gellir cael nemawr gynnydd ar y profiad a'r gweithredoedd ymarferol ag ydynt anghenrheidiol er cael iachawdwriaeth drwyadl. Er cyrhaedd yr amcan mawr hwn fe ddadguddiodd yr Arglwydd gynllun i'w was Brigham, yr hwn gynllun a fabwysiadwyd, a gelwir y goruchwylwyr yn Gwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus, o dan gyfarwyddyd uniongyrchol pa rai y dygir y cynllun hwn yn mlaen, yn eu sefyllfa ymunol.

Ffurfiad y Cwmpeini drwy ddadguddiad, a'i fod dan gyfarwyddyd uniongyrchol y Brif-Lywyddiaeth sy beth ag y geill y Saint edrych arno gyda yr ymddiried mwyaf ymddibynol fel sefydliad parhaus, yr hwn a barha i gynnyddu gyda y deyrnas hon, i gynnyddu yn ei drysorfeydd ac helaethrwydd ei weithrediadau flwyddyn ar ol blwyddyn, hyd oni chyrhaedda ei gangenau i bob ardal a chenedl lle bynag y lledaena yr

Efengyl, gan deimlo am dlodion Israel, a'u casglu adref i gryfhau Seion.

Sefydliad fel hwn, mor gyffredinol o ran ei gymmeriad, helaeth ei weithrediadau, a chyrhaeddadwy ei amcan, sydd yn ymddangos yn llesg yn ei symudiadau i'r rhai ydynt yn aros yn bryderus idd eu tro hwythau ddyfod i neidio ar yr olwyn fawr, a chael eu dwyn adref gan un o'i throadau. Nis gall Cwmpeini y Drysorfa Y. Barhaus estyn cynnorthwyadau ond yn ol y moddion a fydd wrth law, ac y mae y moddion hyny yn union yr un faint ag a gyfrana y Saint. Dengys yr Arglwydd yn hwn, fel yn mhob gwaith arall perthynol i iachawdwriaeth, pa beth sydd i'w bobl wneuthur, drwy ei weision, y mae ganddynt hwy wneuthur yr aberthiadau a chyflawni y gwaith os ydynt am ennill y bendithion ystôredig iddynt. Gwna hyn bob Sant y Dyddiau Diweddaf yn bersonol yn atebol am gynnyddiant y sefydliad yma, a gwna ef hefyd, i raddau mwy neu lai, yn oruchwyliwr iachawdwriaeth ei hun. Oddiwrth yr ysbryd cyffredinol o ymgasglu sydd yn gorphwys ar y bobl, a'r ymdrechiadau canlynol a wneir i ymfudo, credwn nad oes ond rhan fechan o'r Saint yn Mhrydain yn awr a feddant ddigon o fodd i groesi y môr. O ganlyniad, llwyddiant eu hymdrechiadau personol dyfodol, a chynnorthwy y D. Y. Barhaus, ydynt yn awr yr unig seiliau gobeithiol i'r cruglwyth anferthol o Saint sydd yn y wlad hon. Tra na ddymunem ddigaloni yr ymdrechiadau personol mwyaf egnïol, fel y byddo y Saint yn offerynau uniongyrchol i ymfudo eu hunain a'u teuluoedd, ni ddylent wneuthur llwyddiant y cynllun mawr, a fabwysiadwyd er cyflawni daioni cyffredinol pawb, yn ail ystyriaeth. Y mae yn debyg y fod tua 28.000 o Saint yn yr ynys hon. Caniatäwn y fod 1800 gogyfer â'r rhai ydynt hollol amddifad, neu o'r braidd yn cynnal eu hunain. Bwriwch y gwnelai y 15,000 arall, ar gyfartalwch, gan y byddai rhai yn gwneuthur mwy nag ereill yn ol a feddent, yn cyfranu chwe' cheiniog yr wythnos i'r Drysorfa Y. Barhaus; cyrhaeddai mewn blwyddyn i £19.500, ac yn ol £15 y person, ymfudai i Utah 1300 o bersonau. Pe y rhenid hyn rhwng rhai a ddiwallent hanner y modd eu hunain, ymfudai 2600. Yn awr, ychwanegwch at y swm uchod y symiau a gyfranir yn Utah, ac mewn rhanau ereill o'r byd, y symiau defnyddiadwy yn nwylaw y Cwmpeini, a defnyddiad y tryso

feydd hyn yn ol y cyffelyb gynlluniau i'r rhai a fabwysiadwyd y flwyddyn hon a blynyddau blaenorol, ac o Frydain yn unig yn lle 1127 byddai yr ymfudiad drwy y Cwmpeini yn 3000 o rifedi. Pe yr ymddeffröai holl Israel at bwysigrwydd y pwnc hwn, a gafaelyd ynddo gyda chalondid hollol a thrwyadl, nid elai ond ychydig o flynyddau heibio cyn y casglai degau o filoedd adref i Seion yn flynyddol trwy offeryn ddeb y Cwmpeini hwn. Ni fyddai mwyach yn etholiad o un o'r fan yma ac un arall o'r fan draw, eithr fe draws-blanid Cangenau, Cynnadleddau, a Chyfundebau cyfain i dir mwy cydrywiol eu hetifeddiaeth. Rhaid yw i'r amser ddyfod pan na fydd mwyach yn lestr unigol ar achlysur yn aredig ei ffordd yn groes i'r dyfnder, yn llwythedig â 300 neu 400 o Saint, ond fe ddygir llyngesau cyfain yn ofynedig er casglu Israel "megys colomenod i'w ffenestri" cyn y bydd i'r ystormydd ag ydynt yn casglu ysgubo dros y ddaear. Gwir yw y fod llawer wedi cael ei wneuthur pan ystyrir y dechreuad bychan a newydd, a'r golygiadau cul a lochesid yn gyffredinol gan y Saint o'r canlyniadau mawrion a chyrhaeddiadol ag y bwriada Cwmpeini y D. Y. Barhaus eu dwyn oddiamgylch.

Y mae yr ymfudiad o'r wlad hon i Utah yn awr yn parhau am 1855. Y cyfraniadau at y D. Y. Barhaus o'r Cynnadleddau am y flwyddyn 1854 ydynt yn cyrhaedd tua £1200. Cyfartaliad hyn rhwng 15000 sydd yn fyr o gyrhaedd y drydedd wythfed ran o geiniog yr wythnos. Mae yn ddiammheu genym y fod rhai Saint yn cymmeryd rhan fywiog yn y trysorfeydd hyn, ond anaml, anaml iawn y rhaid fod y nifer hyny pan eu cymharir â'r oll, a'r fath ychydig y rhaid fod y rhai ydynt yn ymarferiadol yn gweithio allan eu hiachawdwriaeth yn y peth hwn. Ni fydd i'r rhai a weithredant gyda haelioni dirwgnachol a santeiddiedig golli eu gwobr, ond pa mor bwyllog y symuda yr olwyn fawr i fel y gwnelai pe yr estynai pob un, a arddelant ran yn y gwaith, law ewyllysgar i roddi cyflymdra a nerth iddi. Agos yw yr amser yn awr pan y bydd i filoedd nad ydynt yn awr ond yn breuddwydio pa beth a ddylent wneuthur ymddeffroi at y sylwedd ei hun, ac i ddechreu cael allan y gallant mewn gwirionedd wneuthur rhywbeth tuag at chwyddo y D. Y. Barhaus, fel y bydd i'w gweithrediadau yn flynyddol afaelyd mewn miloedd, lle na afaela yn awr ond mewn cannoedd. ac fe eill y

ffyddloniaid ag ydynt, ac a allant ddyfod i mewn i'r Eglwys, ac a fyddant amddifaid, fwynhau y gobaith dymunol na oedir eu gwaredigaeth yn hir.

Credwn nad yw yn gyfrifiad gwastraffus y byddai i hanner y swm a delir allan yn flynyddol gan y Saint drostynt eu hunain a'u teuluoedd, am gwrw, tybaco, tê, coffi, &c., gyrhaedd i £10,000.

Ni chymmerwn mewn llaw yma y cyfaddasrwydd o i bob un gadw y Gair o Ddoethineb, eithr tra y geill llaweroedd gydag ychydig neu ddim anhawsder wneuthur yn hollol heb y pethau hyn, geill y rhai ydynt wedi ymgadarnhau yn yr ymarferiad o'u defnyddio wneuthur hyny yn fwy cymhedrol nag y maent ac fe brofai pob un ganlyniadau daionus iawn. Nid yr unig bethau yw y rhai hyn yn mha rai y gallasid achub swm fawr, yr hon sydd yn waeth nâ phe eu teflid ymaith. Gwarir miloedd o bunnau mewn ceiniogau, chwe-cheiniogau, a sylltau, a ellid eu cymhwyso at y D. Y. Barhaus, heb leihau y mwynhâd o ddim ag sydd yn wir lesiol.

Y mae gan y Saint i fyfyrio ar gynnildeb; egwyddor bwysig yw sydd yn perthyn yn uniongyrchol i "Formoniaeth," ac ni wyddom am amcan gwell na mwy mawreddog a gyrhaeddir trwyddo nag ymgasglu i Seion.

Yno y gallant barhau i fyfyrio y gelfyddyd o gynnildeb, hyd oni chyrhaeddont wybodaeth o'i huwch egwyddorion, a dysgu y dulliau cyfaddasaf a defnyddiolaf o wneuthur yr elfenau a'u hamgylchynant yn ddarostyngedig i'w tyfiant a'u cynnydd yn ffordd bywyd ac iachawdwriaeth, a sefydlu teyrnas o'u heiddo eu hunain mewn cyfiawnder.

---

## GWLAD ISRAEL AC ADDEWID ISRAEL.

*(O'r Jewish Chronicle.)*

*Adferiad y cynnar a'r diweddar wlaw a sonir am dano yn Deut.* xi, 10–17. *Jer.* v, 24. *Hosea* iii, 3. *Joel* ii, 23. *Iago* v, 7.

"Y MAE yn awr, ac y mae yn ammheus genyf pa un ai nad oedd erioed, oddiar dyddiau caethgludiad y wlad, wahaniaeth amlwg yn ngwlad Judea. Y mae yn wir y fod natur wedi achosi peth o hono, ond nid yr oll. Paham na tharddai ffynnonau o,

ac y ffrydiai'r aberoedd rhwng bryniau Judea mor rhwydd ag o fryniau Ephraim a Samaria? Mewn llun a sylwedd y maent yr un; ac hefyd yr hyn sydd fwy o'u plaid yn hyn yw, eu bod yn fwy ac yn amlach. Eithr nid ydynt. Dwfr yw eu hanghen mwyaf. Mae yno eisieu mwy o ddwfrhad celfyddydol nag sydd yn mhellach i'r gogledd. Y sychder a'r gwres hyn yn y tir sydd yn gwneuthur y rhan yma o'r wlad gymmaint yn gymhwysach i winwydd a choed ffigys nag yw yn mhel ach i'r gogledd. Tŷf y rhai hyn yn well mewn tir poethlyd a sych.

Fel rheol gyffredinol, gallwn ddywedyd, gwlad Judea am ffrwyth, y gwastadedd am lafuriau a gwyrdd-lysieu, a bryniau rhan ogleddol Canaan, Gilead, a Basan am fugeilio. Fel pob rheolau ereill o'r fath yma, y mae gan hon lawer o eithriadau. Y mae gan bob gwlad o'r un gradd â hon ei thymmorau sych a gwlawiog. Nid oes achos i mi yma egluro yr achosion o'r tymmorau hyn. Ond y mae yn beth a ddeallir yn eithaf, beth bynag yn awr.

Dechreua y tymmor gwlawiog tua y cyntaf o Dachwedd, a pharhâ hyd Ebrill. Yn ystod yr hanner cyntaf o'r amser gwlawia yn aml ac yn drwm yn agos bob dydd, yn gyffredin yn y prydnawn. Cyn gynted ag y dechreua y gwlawogydd, ac y meddalheir digon ar y ddaear galed a chrâs fel ag i'w ganiatâu, dechreuir aredig, a hauir hâd, fel a y geilw yr amgylchiad, yn ystod yr holl dymmor gwlyb. Pan dderfydd y gwlawogydd, derfydd yr hau yn hol ol; ac yn ystod yr amser o Ebrill hyd Tachwedd, y mae ganddynt un wybren anghymylog. Yna fe wywa pob gwyrdd lysieuyn nas gall wrthsefyll y sychder yma, ac erys ei wreiddiau, fel y gwna gwreiddiau ein planhigion ni yn y gauaf, hyd oni ddechreua y gwlaw drachefn, yr hyn sydd yn amser gwanwyn iddynt hwy. Yn awr, pan y mae pethau yn bod feily, rhaid ei fod yn ddigon amlwg i undyn, mai po hiraf neu ddiweddaraf y parha y gwlawogydd, po fwyaf a pherffeithiaf y bydd cynnyrch y tir; a pho fŷraf amser y gwlaw, po gynnaraf y sych y cyfan i fyny, ac y torrir y cnŵd yn fŷr.

Bygythiwyd yr Israeliaid yn aml gan Moses a'r Prophwydi, mai pan yr anufyddhaent yr attelid y gwlawogydd. Pe yr attelid hwy, rhaid eu bod, wrth gwrs, yn peidio a pharhau cyhyd. Yn awr, y gwlawogydd a ddaethant niwedd y tymor gwlawiog, ac yn enwedig y rhai a ddaethent ar ol yr am-

ser arferol iddynt beidio, a alwyd yn ddiweddar wlaw. Ychwanegai y cawodydd achlysurol hyn, os parhaent drwy amser addfedu y ffrwythau a'r llafuriau, lawer at eu digonedd a'u perffeithrwydd. Caffai eu hattaliad yr effaith wrthgyferyniol. Y mae attaliad y diweddar wlaw, a'r addewid o'i ddychweliad, yn bethau y llefarir yn aml am danynt yn yr ysgrythyr. Mae y diweddar wlaw yma wedi cael ei attal am ganrif ar ol canrif, hyd oni ddygwyd y wlad i'r sefyllfa y cawn hi yn awr; ac ni all fod nemawr ammheuaeth nad dychweliad y gwlawogydd hyn etto a fyddant y moddion a ddefnyddia Duw, i adferyd y wlad idd ei ffrwythlondeb cyntefig. Pe na feddem ysgrythyr i'n cefnogi yn y meddwl yma, byddem yn ddigon sier o hono, oddiwrth y ffaith anianyddol sydd ddigon gwybodus, y fod pob tir yn gofyn rhyw faint o wlaw i gario yn mlaen y dadansoddiad o sylwedd mwnol mewn cyflawnder digonol er diwalliad blynyddol y cnydau. Y mae hyn yn angheanrheidiol neillduol yn y fath ffurfiad daearfeidrol ag sydd i wlad Palestina. Felly y gwelwn nad oes un rhwystr gorfodol ar y ffordd, canys y mae gan Dduw y moddion wrth ei law, pa bryd bynag y daw yr amser iddo ef ei wneuthur.

Am y cyfnod yma gallwn oll ddefnyddio un o'r dywediadau sydd mewn gweddi Iuddewig,—'Hwylused yr Arglwydd hyn, hyd y nod yn ein dydd ni.' Ac y mae un ffaith, yr hon a nodaf ag sydd yn ymddangos fel pe yr atebid y weddi yma, 'hyd y nod yn ein dydd ni;' canys oddiar y dechreuwyd gwneuthur yr ymdrechiadau a wneir yn awr tuag at sefydliad yr Iuddewon yn Palestina, syrthiodd y gwlawogydd yn fwy nag y gwnaethant am lawer oes flaenorol. Ni ofynir un gofyniad yn amlach ynghylch y wlad yma, nâ 'Pa beth a wneir i'w hadferyd rhag ei hanffrwythlondeb?' Nid wyf yn deall y gellir rhoddi gwell atebiad nâ hyn—Gwrteithiwch hi, ac ymddiriedwch yn Nuw Abraham, Isaac, a Jacob, am y 'cynnar a'r diweddar wlaw.'

---

'O fewn deng mlynedd, y mae y diweddar wlaw yma, fel ffaith wirioneddol, wedi ymddangos etto. Y mae y blaid a aeth o'r America ymwneyd â thrafodaeth amaethyddol yn Mhalestina yn deall drwy y trigolion eu bod wedi cael cawodydd yn ddiweddar yn Ebrill, ar ol terfyn y tymmor gwlawiog arferol, yr hon ryfeddod ni welwyd erioed gan eu cyn-deidiau am

genedlaethau yn ol. Cyd-dystia y blaid yma yr un ffaith hefyd. Wedi bod yno am ddau neu dri thymmor, y maent wedi gweled syrthiad cawodydd breision yn Ebrill a Mai."—*Golygydd y "Deseret News.*"

---

## DESERET.

A GYFIEITHWYD GAN MR. WM. GRIFFITHS, PONTARDAWE, ALLAN O'R "MORMON."

CHWI Seintiau tuag yma edrychwch yn awr,
I wlad y gorllewin,—mynyddoedd sydd fawr,
Lle gwelir dyffrynoedd mewn gwisg werddaf îr,
A'r awyr mor bured, a'r wybren yn glir;
Eich aros chwi yma a'u gwên ar eu gwedd,
Mae rhyddid ac iechyd, digonedd a hedd.

A gwelwch ein baniar yn lledu o hyd,
Tra syrthia yn chwilfriw deyrnasoedd y byd;
A phob amherodraeth ddarfyddant yn llwyr,
Ond arwydd ein rhyddid a bery 'n ddi-ŵyr;
Cyhoedda i'r lliaws mai dedwydd a rhydd,
Yw meib y mynyddau,—byth felly a fydd.

Maent hwy heb ymarfer â bywyd difudd.
A rhodiant fynyddoedd dan eira yn nghudd;
A hwy yn feddiannol ar iechyd a gwaith,—
Y neb a'u hymlidia gaiff siom ar ei daith:
Fe wel er ei ofid mai dewr galon hy',
A gododd y faniar o ryddid i chwi.

Dewch 'nawr o bob cenedl b'le bynag yr y'ch,
Rhai doeth a rhinweddol, daionus a gwych,
Can's yma arosa gwir ryddid,—a'i lais
Yn felys adleisia o'r bryniau heb drais;
Y llais per a wnaethai ei dewrion yn llon,
I ymladd wrth ochr y dewr Washington.

Yr ysbryd gynhyrfa y dewr yn y gâd,
I ymladd dros gartref, ei ryddid, a'i wlad,
Ein heiddo fydd heddwch a rhyddid ynghyd,
Tra 'n dilyn ein gwaith rhwng y bryniau o hyd;

Diwydrwydd a'n tywys i gyfoeth a hedd,
Ac undeb ac iechyd tu yma i'r bedd.

Pan fydd y bendithion odd'wrth ereill yn mhell,
Pan fydd ein gormeswyr yn y dywyll ddu gell,
Ein baniar fydd etto yn uchel i'r làn,
Ac yma bydd cartref y dewr,—a'i hoff fan;
A Seion mewn rhinwedd gynnydda 'run wedd,
Adnebir hi 'n mhob man—"Y deyrnas o hedd."

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, RHAGFYR 8, 1855.

Newyddion da i Ymfudwyr!—Yr Ymfudiad, ymfudo, ac ymfudwch, yw gorchymyn mawr yr Arglwydd a'i weision i'r Saint gwasgaredig drwy y byd yn y dyddiau hyn; adref, *adref* yw eu galwad uchaf ac amlaf yn Seion, ac oddiyno drwy ei holl gyssylltiadau; prif waith pob Llywydd a fedd ysbryd Seion yw gosod Saint ei ofal ar y ffordd oreu i ymfudo, ac nid oes sôn a siarad am ddim yn mhlith y Saint gymmaint ag sydd am dalu eu dyledion o bob natur i bawb, yn enwedig i Eglwys Dduw, yn barotoadol i ymfudo. Mae ysbryd yr ymfudiad wedi llanw y Saint â'r fath awydd, nes mai y miwsig a lanwa ein clustiau yn mhob lle yr awn ydyw,—"A gaf fi ymfudo y tro nesaf?" "O, cofiwch am danaf fi beth bynag, yr wyf wedi bod yn yr Eglwys er ys saith, wyth, deg neu ychwaneg o flynyddau, ac wedi gwneyd fy ngoreu, ac oni chaf fyned eleni torra llinynau fy nghalon." Mae taerineb tlodion ein Duw yn ngwyneb eu gormesiant a'u hawydd, ac wrth gofio y breintiau mawrion sydd yn eu haros yn Seion, bron a syfrdanu ein clustiau, ac wedi bod er ys amser maith yn tynu ocheneidiau o'n calon ar ein Tad galluog i ateb eu cri, a hyny yn awr; ac mae yn llawenydd cyferbyniol genym allu hysbysu fod y nefoedd yn ateb eu hymbil

iau taerion, ac fod dydd eu gwaredigaeth wedi gwawrio; fod Ysbryd y cariad yn meddalhau calonau eu brodyr galluocach yn ganmoladwy; fod eu Llywydd tadol yn Seion ei hun eisoes wedi anrhegu y D. Y. Barhaus â deuddeg mil o bunnau, yn dai, ïe, ei dy ei hun, ffermydd, tiroedd, melinau, &c. i'r dyben pwrpasol o ymfudo y ffyddloniaid, ac mae y ffyddlonaf, addfwynaf a'r duwiolaf yn cael eu dethol yn awr i'r graddau ag y gwerthir yr eiddo hwn yn y wlad yma, ac fe barheir i ddethol mor gyflym ag y gwerthir ac y ceir arian i law i'r perwyl hyny. Dyrchefwch eich penau, a llawenhewch chwi ffyddloniaid, mae amser ymwared cannoedd os nad miloedd o honoch wrth y drws; ymysgydwch allan o bob anobaith a difaterwch, ac ymbarotowch a allwch.

Tra ar y mater dyddorol hwn, dymunwn ar yr holl Lywyddion drwy'r Dywysogaeth chwilio allan, ac anfon i ni enwau, oedran, galwedigaeth, a chymmwysderau y personau hyny a'u teuluoedd, a fuont ffyddlon yn yr eglwys er ys chwech ac uchod o flynyddau i ddechreu, pa sawl blwyddyn er pan y maent yn yr eglwys, a'r geiniog uchaf a allant hwy eu hunain gynnorthwyo eu hymfudiad—dysgwyliwn hyn y cyfle cyntaf! Ac wrth ymddiried y gorchwyl pwysig hwn i'r Brodyr, hyderwn yr ymlidia Ysbryd y Duw didderbyn-wyneb bob pleidgarwch ac anghywirdeb dyben yn mhell o'u llygaid; na fydd i ffafriaeth brynedig, dylanwad perthynasol, na dim arall i beri iddynt basio heibio drws bwthyn neb teilyngach i ysgrifenu enwau rhai llai teilwng, eithr y bydd eu llygaid yn sengl at Ysbryd ac amcan Duw drwy'r Llywyddiaeth yn Seion, Lerpwl, ac oddiyno atynt eu hunain.

Heblaw yr anrhegiad o £12,000 mae gofal doionus y Llywydd Young dros y Saint yn amlwg yn ei waith yn dylanwadu ar bawb yn Seion i gyfranu at y gwaith da o ymfudo y tlodion a'i gymhelliad taer ef yw drwy gyngor ac esiampl ar i'r Saint a feddant arian yn y wlad yma eu gwneyd yn wasanaethyddol i fudo y Saint, naill ai drwy eu trysori gyda y Llywydd Richards, prynu y meddiannau a gynnygir genym ar werth yma, fel y bo ganddynt le i fyned iddo ar eu cyrhaeddiad yno, neu ar unrhyw ammodau cyfiawn arall a ddymunant. Yn ychwanegol at hyn etto, hysbyswn yr hyn a ystyrir yn destun gorfoledd i bob un a fedd awydd dyledus i fyned i Seion, sef yw, pan

oeddem yn Lerpwl yr wythnos ddiweddaf, drwy garedigrwydd y Llywydd Richards, yn nghyfeillach yr hwn ynghyd a'i gyngborwyr, a lliaws o Henuriaid o Seion, cawsom lawer o ddyddanwch, iechyd, a mwy o newyddion cysurlawn am Seion a'i hestynfeydd nag a ddeil y rhifyn hwn, yn unig, yn awr, dywedwn i ni weled llythyr oddiwrth y Llywydd Young, yn annog y Saint i ddyfod yn wersylloedd ar draed o'r wersyll-fan olaf, gan gludo eu pebyll, a'u hymborth am ychydig wythnosau, ac ychydig ddillad gyda hwynt, ar ddauolfenni ysgafn a wneir yn bwrpasol i'r ymgyrch, ac a lusgir gan y dynion, gyda hwynt caffant ychydig bedrolfenni a lusgir gan fulod neu geffylau i'w helpu i gludo ymborth, ac i fod wrth law pe dygwyddai anffawd, afiechyd, neu ffaeledd yn mhlith y llu; caffant wartheg llaeth hefyd gyda hwynt at eu gwasanaeth; bernir y gallai yr ymfudwyr yn gyffredinol deithio yn gyflymach o lawer nag y gall ychain fyned, yn enwedig wedi ymarfer am ychydig ddyddiau. Addawa y Llywydd anfon pedrolfenni o Seion ag ymborth i'w cyfarfod, efallai hyd Fort Laramie, sef hanner y ffordd, neu yn mhellach, yr hyn a gynnorthwya yn fawr i ysgafnhau eu llwythau ar y rhan olaf o'r daith. Ystyrir na chostia y daith i Seion fel hyn nemawr dros hanner y gost o fyned gydag ychain, ac nid llawer mwy na hanner yr amser; ac felly mwy na dyblir rhifedi yr ymfudwyr drwy y cynllun hwn ar y nifer a elai ar yr un swm o arian yn y ffordd arall.

Nac arswyded neb rhag y cynllun hwn, canys i ni, ac i bob un a fu ol a blaen ar hyd yr holl ffordd i Seion, ymddengys yn amlwg iawn lawer o fanteision yn y ffordd hon ar yr hen ffordd ychain-aidd; credwn y gallai yr ymfudwyr fyned i ben eu taith mewn dwy ran o dair, os nad yn hanner yr amser, a hyny heb orfod cerdded nemawr neu ddim mwy nag a wnant gyda'r ychain. Gallant orphwyso yn awr yn yr amser a gymmerid gynt i wylied dros yr ychain y nos, chwilio am danynt ar ol dianc o honynt drwy *stampeed*, neu i'r Indiaid eu lladrata; ni byddai anghen i hanner y gwersyll eu gwylio rhag gwenwyno eu hunain drwy yfed dyfroedd yr *alcali*, &c., a byddent filldiroedd ar eu ffordd yn heinyf a chalonog fel hyn, ar lai o redeg nag oedd gynt i gael yr ychain i gychwyn, heb sôn am y gwneyd pontydd, y codi o'r llaid-byllau a'r ffosydd, a'r amser a gymmerid i drwsio pedrolfenni beunydd yn torri.

Mantais fawr arall a geir yn y ffordd hon yw y gallai yr ymfudwyr fyned yn eu blaen yn ddioedi, ac felly arbed yr afiechyd a'r gost, a'r colli bywydau canlynol a fu i'r arosiadau am fisoedd yn Kansas neu Atchinson tra yn aros am ychain, pedrolfenni, neu i'r borfa dyfu er eu porthi; arbedid fel hyn ddigon o amser i fod âr ben eu taith, mae yn debygol cyn y cynheuaf, yr hyn a fyddai yn ennill mawr i'r ymfudwyr ac i amaethwyr Seion.

Gwelodd yr hen brophwydi Saint y Dyddiau Diweddaf yn ffoi adref o blith pob cenedl, ar elorau meirch a mulod, ac nid annhebyg yw yr ymgyrch dan sylw. Diau y mawrygir unrhyw gynllun a'u cluda i Seion, os esgeulusir hwn, pan y dynesa y rhyfeloedd yn nes-nes atynt, pan y rhoddir mewn gweithrediad yr hyn a ddaroganir yn gyffredinol drwy'r wlad, sef codi milwyr drwy goelbren, a phan na fydd dyn yn ddiogel ar hyd heolydd tref na gwlad rhag crafangau y *Press gang*. Bydd, fe fydd unrhyw ffordd gyrhaeddadwy i Seion yn werthfawr os cyrhaeddadwy y pryd hyn, hefyd pan y ffarwelia y gwr a'i wraig bob tro am efallai yr olaf wrth adael drws ei dŷ i fyned at ei waith; pan y sylla, am a wyr, y gip-drem
ei deulu pan elo o'u golwg, a phan arswyda ac y chwysa wrth gerdded yr heolydd rhag arswyd dynion fwy nag yr arswydodd erioed rhag bwganod y gwill, a phan yr arswyda rhag amddiffynwyr yn fwy nâ rhag ymosodwyr ar ei wlad ei hun.

Eithr wele ddrws cefn yn agored yn awr i'r doeth a wêl y drwg o bell, ac a ddewiso ddianc rhagddo. Ymchwilied pob un i'w alluoedd ei hun, oni all efe gael wyth punt, pa faint yw yn fyr o hyny, ac i'r dyben o wneyd y swm i fyny; ymaith a'r hen ddelwau, meddwn etto, oddiar ar eich parwydydd, y rhai a addolwyd gan eich hynafiaid er ys oesoedd ; ymaith a'r clociau a'r *watches*, yr addurniadau, y modrwyau, ïe, ac hyd y nod y dilladau gwychion a ddarperid erbyn blynyddau dyfodol; gwerther yr oll ond yr ail bâr o ddillad i newid, er crynhoi yr £8, yn hytrach nâ bod ar ol yn ysglyfaeth i blaau, a chŵn rhyfel Babilon. Ni fedd y sawl a esgeulusa hyn, os yn ei allu i fyned, un hawl i honi nodded Duw drosto os arosa ar ol, fel y bydd gan y sawl na all fyned mewn un modd y tro nesaf. Gwneler hyn yn beth penaf a blaenaf, a gadawer i ni wybod, mor gynted y bo modd, pwy a all fyned gyda chwmni y ddauol.

fen. Dichon fod brodyr a chwiorydd heinyf ac iachus, a chanddynt fodd i fyned gyda y gweddeuau ychain am oddeutu prisoedd y llynedd, a gymmerant gymmaint o drugaredd ar frawd a chwaer ffyddlon arall sydd yn analluog o hono ei hun ag i fyned eu dau neu ddwy gyda y ddau-ol-fen ar gost un gyda y llall—dyma'r ffordd i wneyd i arall fel y dymunech gael; cofier mai brodyr ydym, ac mai un yw ein dyben.

Wrth y trydydd dosparth o ymfudwyr dywedwn. Os na allwch gael modd i ymfudo yn yr hen ffasiwn, sef gydag ychain fel y llynedd, yr hon sydd rhy hen a phwyllog i ganmol llawer arni, ac os na allwch fyned gyda y ffasiwn newydd am hanner y pris hwnw, neu os na fyddwch yn mhlith y dedwydd rai a ystyrir yn ddigon hen a ffyddlon i gael eu cludo, gwnewch bob ymdrech i ymfudo i'r Taleithiau, serch myned ar gost pob peth sydd o lai gwerth na gwaredigaeth.

Er y cynghorwn i wneyd y darpariadau hyn, ag i bob un fod mor barod ag a fo yn bosibl iddo, ïe, pe caffai ond un dydd o rybudd, etto cynghorwn i'r Saint ymddwyn mewn doethineb, a pheidio dyrysu eu hamgylchiadau na cholledu eu hunain hyd nes y caffant sicrwydd y gallant ymfudo drwy hyny. Gofynodd ein Harglwydd gynt i'r Saint fod mor barod i'r alwad byrbwyll, fel os ar ben y tŷ na fyddai raid myned i fewn i'r tŷ cyn cychwyn, neu os yn y maes na ddychwelai adref i ymofyn ei gochl; nad arhosai i gladdu y meirw, i ffarwelio â pherthynasau, nac i ddim arall. ond myned; ac fe fyddai yn ddoeth i'r Saint yn awr fod mor barod i alwad byrbwyll ag y gallant. Nid oes genym ddigon o ffydd i gredu y caiff pawb o'r rhai ag y cymmerwn eu henwau ymfudo eleni, ac ni allwn benderfynu yn fuan efallai, pwy o honynt a gaiff y fraint, ond caffant gymmaint o rybudd ag a allwn roddi iddynt. Ac hefyd mae y nifer yn ymddibynu ar haelioni y cyfoethogion i raddau i brynu y meddiannau ag y soniwyd eisoes, a'u cyfraniadau i'r D. Y. Barhaus, &c.

Wrth yr holl rai a fwriadant ymfudo gyda yr hen gynllun, yr un newydd, neu mewn unrhyw ffordd i Seion neu y Taleithiau, dywedwn, os bydd o ryw werth ganddynt gael ein cwmniaeth ni, ymbarotoant erbyn diwedd Chwefror o bellaf, ac hyderwn na arosa un yn ngweddill a fedd fodd i fyned.

O barthed i'r meddiannau cyfeiriedig sydd ar werth, dywed-

wn fod genym ddesgrifiadau o honynt, a galwn ar bawb a ddymuna sicrhau dewisiad, i wneyd brys, canys mae amryw o honynt wedi eu gwerthu eisoes, ac yn ol pob tebygolrwydd ni cheir cynnyg ar y gweddill yn hir.

---

"UDGORN SEION," am y gyfrol ddyfodol.—Dysgwyliwn fod pob Llywydd Cynnadledd yn darparu eisoes fel arferol ar gyfer lledaenu cylchrediad ein UDGORN ar ddechreu y flwyddyn, eu bod yn gosod eu holl ddosparthwyr, llywyddion y cangenau, a phawb a fedd ddylanwad i grynhoi enwau ychwanegol o dderbynwyr, mae y gobaith a feddir y bydd lluoedd yn ymfudo yn y gwanwyn nesaf yn profi yr angenrheidrwydd o ymroi at hyn mewn pryd. Pe y lleiheid ei gylchrediad bydded hysbys y gorfodai hyny i godi yn ei bris, yr hyn ni chaniatâ y Saint i fod, hyderwn, canys gwell iddynt gael dau nac un am ddwy geiniog, pe y rhoddent un o'r ddau i gyfaill. Mae eu ffyddlondeb yn yr amser mynedol yn peri i ni gredu nad oes anghen dweyd chwaneg nâ'u hysbysu—*Mae eich* UDGORN *yn dymuno chwythu i chwi dônau Seion am flwyddyn etto.*

Y DYLEDION AM LYFRAU.—Diolchwn yn fawr, ïe, yn fwy nag a allwn hysbysu i bawb a *deilynga*, o Gaerdydd i Fôn, am yr hyn argoelion a gawsom yn ddiweddar o welliant yn y fusnes bwysig hon; etto ni fynwn i'n canmoliaeth achosi lleihad y gronyn lleiaf, ond yn hytrach ymadnewyddiad mwy fyth i dalu yr hen ddyledion sydd yn aros am lyfrau. Cofier fod diwedd y flwyddyn a ddylai fod yn ddiwedd ar y dyledion yn agoshau—wrth y drws, fel na chawn eich coffhau ond rhyw un waith etto am hyny, a chofier mai cywilydd fydd i neb Llywydd na dosparthwr ofyn cymhorth i ymfudo cyn cwblhau y ddarpariaeth anhebgorol hon. Mae y tipyn llwyddiant a gaed ar y tipyn ymdrech a wnaed yn ddiweddar, a diolch am dano meddwn etto, yn profi fod hepian a chysgu wedi bod, ac nad oes eisieu ond deffroi tipyn chwaneg i *orphen* y gwaith,—deffroer ynte, y ddau lygad yn llydan agored.

AT Y LLYWYDDION.—Galwn sylw yn brydlon fel y cymmerer digon o amser i barotoi y tro hwn, a chael cywirdeb yn y *Cynnrychioliad hanner blynyddol* yn fwy nag a gafwyd o rai manau yn yr olaf, arferer pob manylrwydd a aller er cael cynnrychioliad *cywir*. Hefyd cofier am gyfrifon y cyfraniadau at

y D. Y. Barhaus, *ynghyd ag enwau y Cangenau!!!* a'r anrhegion at y Deml ag enwau y Trysorwyr, i fod yma y dydd olaf o'r flwyddyn. Adgoffhawn! y fod pob Llywydd Cynnadledd wedi rhoddi ei *air* y telir yr oll a ofynwyd ar ei Gynnadledd at y Deml erbyn diwedd y flwyddyn, a chofied hefyd fod anrhydedd ei air, yr hwn a ddylai fod yn werthfawrocach yn ei olwg na'i fywyd, yn ymddibynu ar gyflawni yr addewid hon. Hawddach fydd ymroi i grynhoi y swm nâ ffurfio esgus digonol yn ein golwg ni i'w esgusodi os peidia a gwneyd y cyfan i fynu yn brydlon!

---

Marwolaeth y Llywydd Orson Spencer.—Dan ddwys alar a theimlad o ofid calon cyhoeddwn farwolaeth ein hanwylaidd a'n hyglodus frawd Spencer, yr hyn a gymmerodd le yn St. Louis, ar y 15fed dydd o fis Hydref. Gadawodd deulu lliosog ac anwylaidd yn Ninas y Llyn Halen Mawr i alaru eu colled. Cawsom y pleser o adnabod y Br. Spencer er yn foreu yn Nauvoo; ynghanol terfysgluoedd creulon, safodd yn wrol o blaid amddiffynwyr y gwir; ysgrifenodd amddiffyniadau campus o Joseph Smith pan yn ngharchar Carthage, a thrwy gannoedd o filltiroedd o wlad y terfysgwyr aeth a hwynt at Lywydd y Dalaeth i Springville; claddwyd ei wraig yn yr anialwch, yn 1847, tra yr oedd efe ar genadiaeth yn Lloegr, lle y bu yn llywyddu yn llwyddiannus am dros ddwy flynedd, ac y mae miloedd a dystiant y lles a'r goleuni a fwynhasant drwy ei gynghorion doeth, a'i olygiaeth o'r *Star* yn y cyfamser

Wedi dychwelyd i Seion ni fu yn segur, ond gorlwythwyd ef â Swyddau o gyfrifoldeb mawr, y rhai a anrhydeddodd yn ddieithriad. Teithiasom gydag ef dros y Plains yn ol ar ei genadiaeth i Prussia, yn ei fawr nychdod ni rwgnachai, ond yn ufydd aeth—ei draethawd ysplenydd ar y genadiaeth hono a arddengys ei rinwedd a'i werth. Dychwelodd yn ol yn 1853 gyda chymmeradwyaeth, eithr nid i aros nemawr fisoedd cyn ei appwyntiwyd ef i fyned drachefn oddiwrth deulu ieuanc ac anwylaidd i blith cenedl wargaled yn y Taleithiau, a bu yn Llywyddu yn Cincinatti, Ohio, ac yn ohebydd medrus i'r "Luminary," y "Mormon," &c., hyd nes ar ymadawiad y Llywydd Snow yn yr Hydref diweddaf i Seion, gosodwyd y Brawd Spencer yn Olygydd ar y "Luminary" yn ei absennol-

deb. Yn y cyfamser, a chyn hyny, gwnaeth fwy na'i allu corfforol yn ei genadiaeth yn mhlith yr Indiaid *Cherokees*, lle y gadawodd ddylanwad daionus ar ei ol a drws gobeithiol wedi ei agoryd i'r efengyl fyned i'w plith; oddiyno dychwelodd i St. Louis dan ddylanwad afiechyd a aeth ag ef mewn ychydig wythnosau i wlad well, yn mhell tu uchaf i gyrhaeddiadau clefydau, poenau, pangau angeu a bradwriaethau terfysgwyr gelyniaethus—yn iach ehedodd ei ysbryd dewr a galluog i blith ei gyd-filwyr ar faes y gwaed a'r gofid—yn iach a buddygoliaethus y mae heddyw yn cyd-seinio yn nghynghorion ei frodyr fry, fel ag y gwnaeth yma; ac mor hollol ewyllysgar cydweithia gyda hwynt tu draw i'r llèn i ddatgloi carcharau oesol, ac i belydru i mewn i'w celloedd oleuni efengyl yr hedd. Nid llai gorfoleddus yw gan luoedd y carcharorion a garcharwyd yn gyfiawn glywed miwsic ei lais nag oedd gan filoedd tra yma, ac nid llai ei ddewrder yno "i ddwyn y caffaeliaid oddiar y cadarn" nag oedd yn y fuchedd hon. Yno fel yma, diddiwedd ei Offeiriaeth, diderfyn ei waith, ac anniflanedig ei goron. Mawr yw ei fraint, ac ni phetruswn ddymuno boed ein diwedd ni gystal â diwedd y Brawd Spencer. Eithr er i ni feiddio croniclo hyn o weithredoedd ein hanwyl frawd, braidd fel pe na allem beidio, nid y'm am i neb feddwl fod yr awgrymiadau brysiawg hyn a nofiant gyntaf i wyneb a glàn hen fôr o goffadwriaeth yn cynnwys holl na nemawr mewn cyffelybiaeth o fawredd, hynodrwydd, galluogrwydd, ffyddlondeb na defnyddioldeb yr ymadawedig; O, na, nid ydynt i'r perwyl, nac er rhwystro galluocach llaw i wneuthur gwell cyfiawnder â'r teilwng wron ar y pwnc hwnw, pe bae eisieu help gan rywun eithr ei weithredoedd a'i canmola ef, ac y mae ei fyw-graffiad mor ddwfn ar gôf ei gydnabod fel na wellid ef gan farwnâd medrusaf

Dwywaith ymwelodd â Chymru ar ei hynt, a phwy a'i gwelodd ac a'i clywodd a all ei anghofio? Frwyth ei lafur byth a erys yn gofadail i'r byw a'r marw; ac am ei "Lythyrau at Mr. Crowell," drwyddynt hwy gwelodd lluoedd dywyllwch andwyol cyfeiliornau yr oes. Efe wedi cael ei ddwyn i fyny yn athrofeydd blaenaf yr Amerig, a dringo gyda'r uchaf i bwlpudau Sectyddiaeth, oedd o hyny y galluocaf i ddynoethi ei thwyll a'i hygoeledd, yr hyn a wnaeth mor eglur yn y llythyrau campus

dan sylw, nes y diolcha miloedd ond odid i'r Brawd Spencer etto, heblaw a fu, am agoryd eu llygaid mewn pryd.

Wedi cyfeillachgarwch anwylaidd ag ef, ac o hyd yn anwylo am tua dwsin o flwyddi, pwy a all beidio hiraethu? etto, nid fel heb obaith, diolch am hyny, ond fel rhai yn dyoddef y golled fwyaf drwy ei ennill ef. Dydd yr ymweliad amser yr adferiad neu yn gynt, ïe, dydd ein tranc hyderus obeithir y cawn weled wyneb siriol y Brawd Spencer etto,—er mor felys y sôn, mil gwell y mwynhad; etto, nid cyflawn y gorfoledd hyd y dydd, y dedwydd ddydd, pan mewn anfarwoldeb y mwynheir anchwiliadwy olud ein Tad i'w blant drwy eu Brawd hynaf—diolch iddo.

*Taliadau at Ddyled Cynnadledd Orllewinol Morganwg o Tach. 23ain hyd Rhag. 5med.—(Yr Addewidion Cyntaf.)*

| | £ | s. | d. | | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Ann Groves, Abercenffig.... | 0 | 2 | 6 | Jane Williams, St. Brides.... | 0 | 1 | 0 |

*Yr ail Addewidion.*

| | £ | s. | d. | | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Elias Jones, Cwmbach...... | 2 | 10 | | David Davies, Newton...... | 0 | 2 | 0 |
| Louisa Rose, Abertawy...... | 0 | 1 | 0 | Rees Jones, Cwmafon ...... | 0 | 5 | 0 |
| Thomas Fisher etto ...... | 0 | 7 | 0 | | | | |
| David Llywellyn Wick .... | 0 | 2 | 0 | Cwbl........ | £3 | 12 | 6 |
| Elizabeth Llywellyn, etto.... | 0 | 2 | 0 | | | | |

D. S. Mae y personau canlynol heb dalu eu haddewidion cyntaf:—John Jones, Aberafon; John Groves, &c., John Adams, &c., Ann Jones, John Llywellyn, &c., Abercenffig, J. J. Davies, &c., Alltwen; Abel Lloyd, Cwmafon; John Morris, Cwmbwrla; Sarah Jones, Cyfyng; David Abel, Seth Davies, Ann James, John John, Pyle; Mary Ann Commons, Mary Ann Jone, Rebecca Knight, John Paliphant, &c., David Lewis, &c., Rees Samuel, &c.—Y mae ereill a dalasant ran, a dysgwylir i'r cyfryw i'w cwblhau erbyn y Cynghor nesaf.

Derbyniadau am Lyfrau o Tach. 21 hyd Rhag. 5.—E. Middllton, £4; Evan S. Morgan, £4; G. W. Davies, £40 John Davies, £1 10s; Thomas Morgans, £3; William Lewis £2 10s.

⁂ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones,* "*Udgorn Seion*" *Office, Swansea.*

CYNNWYSIAD.



ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 26.] RHAGFYR 22, 1855. [CYF. VIII.

### LLYTHYR Y LLYWYDD B. YOUNG AT Y LLYWYDD F. D. RICHARDS.

*Swyddfa y Llywydd, D. Ll. H. Mawr,*
*Medi 30ain*, 1855.

ANWYL FRAWD,—Wedi ysgrifenu atoch oddiar y *mail* diweddaf gyda'r Henuriaid, nid oes genym lawer o bwys idd eich hysbysu o hono ar na wyddech am dano o'r blaen—megys talu ein dyledion mawrion a ddeuant arnom yn gysson, yma ac yn St. Louis, dros yr ymfudiad eleni. Pe buasai genym tua chan mil o bunnau y flwyddyn i dreulio i'r cyfryw ddyben, buasai yn rhyw foddlonrwydd i gasglu tylodion yr Arglwydd, er y byddem yn debyg wrth wneuthur hyny o gasglu rhai o dylodion y diafol hefyd, a diafliaid tylodion gyda llaw. Eithr fe ddaw yr amser pan y cawn gymmaint â hyna o swm, ac ychwaneg mae yn debyg, ond bydd i'r gwaith hyd y nod gyd-fyned â hyny, felly nid wyf yn meddwl y cawn fwy o foddion nag a ofyna y gwaith. Ya wir, os cawn gymmaint, bydd yn gyfnod newydd yn ein pethau masnachol.

Bum yn myfyrio pa fodd y gweithredwn am flwyddyn arall. Ni chaniatâ ein mhoddion i ni brynu pedrolfenni a gweddeuau megys ag y gwnaethom yn yr amser mynedol, o ganlyniad gorfodir fi i ddewis fy hen gynllun, sef gwneuthur dauolfenni, a gadael i'r ymfudwyr ei throedio hi, gan lusgo eu hangenrheidiau ar y daith arnynt, a chael buwch neu ddwy gyferbyn â phob

deg o honynt. Gallant ddyfod mor gynted, os nad yn nghynt, ac yn llawer rhatach, a dianc drwy hyny rhag y clefyd llywodraethol sydd yn flynyddol yn gosod cynnifer o'n brodyr yn isel yn y llwch. Mae y mwyrif o wyr yr ychain hyd y nod yn cerdded gyda y gweddeuau, gan fod mewn llawer mwy o ofal a gofid nag a gaffant wrth fod hebddynt. Ni fydd eisieu mwy o ymborth arnynt nag a barhâ am 90 o ddiwrnodau, o amser eu hymadawiad â'r afon Missouri, a chan fod y sefydliadau yn estyn i fyny i'r Platte, nid cymmaint chwaith. Gellir gwneyd y dauolfenni heb fod dim haiarn ynddynt, ac olwynion cylchedig iddynt, wedi eu gwneuthur yn gryfion ac ysgafn, ac fe wnelai un, neu os byddai y teulu yn lliosog, ddau o honynt gludo yr oll a fyddai eisieu arnynt ar y plains.

Os treuir felly unwaith, cewch weled y daw i fod y dull dewisolaf o groesi y plains; ni fydd ganddynt ddim i'w wneuthur ond gyru yn eu blaen, ac ni ryfeddwn pe teithiai Cwmpeini o'r fath hyn y daith mewn 60 neu 70 o ddyddiau. Mi a wn y gallant flaenu ar unrhyw gwmpeini ychain wrth groesi y plains. Mae arnaf eisieu gweled gwneuthur treial teg o hono, beth byang, a chredaf y bydd yn gystal dechreu felly y flwyddyn ddyfodol ag unrhyw amser, a sefyll y gost ddirfawr o brynu wageni a gweddauau—yn wir, fe ein gorfodir i wneuthur hyny, neu oedi gweithredu yn ol a welwyf yn bresennol.

Ofnwyf yn fawr y bydd i weithrediadau y flwyddyn hon ein rhwystro i gludo allan y peiriant gwlan sydd yn awr yn ystoredig yn St. Louis, yn y nesaf. Meddyliaf mai gwell fyddai i'r ymfudiad ddyfod ar hyd y ffordd ogleddol o Gaerefrog Newydd, neu Philadelphia, neu Boston, yn gymhwys i Ddinas Iowa neu Fort Des Moines, ac i Council Bluffs mor gynted ag y gorphenir y gledr-ffordd.

Daw i fod o bwys i chwi anfon cof-restr o'u henwau i ni, ac hysbysu y brodyr Taylor a Spencer, fel y trefnont yn gyferbyniol i hyny. Os gwnant felly, heb ammheu, gallaf addaw iddynt y cyfarfyddir hwynt â lluniaeth ac a ffryndiau yn mhell i waered ar y plains, cyn iseled efallai â Laramie, os cawn eu henwau yn brydlon; gwyddoch fod gan bawb braidd ffryndiau a pherthynasau yma yn awr, felly pan ddeallont fod eu cyfeillion yn dyfod, ânt allan i'w cyfarfod.

Ni chostia eu cludiad trwy Ddinas Iowa neu Fort Des Moines,

fwy nag 8 neu 9 doler, ac ni fyddai ond eisieu eu diwallu ag arian at brynu ymborth, ac ag ychydig wartheg, pa rai a ddylent fod o'r rhywiogaeth oreu. Ysgrifenaf at y brodyr Taylor a Spencer ynghylch y ddauolfenni, y dull o'u gwneuthur, &c. Wrth gwrs. chwi a ganfyddwch yr anghenrheidrwydd o waredu yr holl gistiau coed, a phob peth afreidiol. Ni ddylent ddyfod a dim ond newid-wisg. Cistiau tin fyddent yn debyg o fod y pethau goreu i gynnwys hyny a ddygant. Pymtheg milltir y dydd a'u dygent hwy drwyodd mewn 70 diwrnod, ac wedi y cynnefinant â'r gorchwyl, teithient 20, 25, ac hyd y nod 30 o filldiroedd gyda phob rhwyddineb, ac heb berygl o fethu, ond aent o hyd yn gryfach a chryfach; gellir cario y rhai bychain a'r cleifion os byddant, ar y ddauolfenni, eithr ni fydd cleifion yn mhen ychydig amser ar ol iddynt gychwyn. Bydd raid fod ychydig bebyll. Ysgrifenwch a fynoch at y brodyr Taylor a Spencer ynghylch yr ymfudiad. . . . . . Dealled y Goruchwylwyr Teithiol eu dyledswyddau hefyd, a pha bethau a ddysgwylir oddiwrthynt, oddiwrth bwy y maent i dderbyn cyfarwyddiadau, ac yn mha fanau, fel y gwneler pob peth yn weddaidd ac mewn trefn. Fel yr ysgrifenwyd o'r blaen, eithr rhag ofn na chyrhaedda chwi, dywedwn etto, ein bod yn bwriadu anfon y brawd Lorenzo Snow i gymmeryd eich lle chwi yn gynnar y tymmor dyfodol, pan y dysgwyliwn y gwnewch chwi a Joseph, ac ereill efallai, y goreu o'ch ffordd adref. Cymhellwch bobl i brynu y meddiannau ag y cawsoch eu hanes; casglwch yr oll a allwch i dalu y ddyled yn St. Louis; a dysgwch y brodyr a feddant arian i'w dwyn gyda hwynt yma, neu eu hanfon i ni, yn lle eu defnyddio, gan wario pob dimeu o honynt cyn y cyrhaeddant yma, ac wedy'n i fod heb ddim i gynnorthwyo eu hunain, na neb arall; fel pan y delont yma y byddo ganddynt fodd i ddechreu rhyw fasnach gelfyddydol, neu ryw fasnachaeth a fydd yn ddefnyddiol er adeiladaeth teyrnas Dduw.

Mae y tywydd yn parhau yn deg, gan ein sicrhau yr addfeda y cnydau diweddar o ŷd, cloron, &c., y rhai, gyda chynnildeb, a fyddant ddigon i gyfarfod â phob rhyw anghenion gofynol, hyderwn.

Yr ydych yn debyg o gyfarfod â'r Brawd Calkins cyn y derbyniwch hwn, gan ei fod wedi ei ddiwallu â'r modd anghen-

rheidiol i fyned trosodd yn ddiaros. Cychwynodd yn nghwmni y brodyr Schofield a Lavender, ar y 12fed o'r mis hwn.

Y mae pob peth yn dda gyda ni, ac amser cyffredinol o iechyd yn teyrnasu. Yr Arglwydd a'ch bendithio, ac a'ch cynnalio yw gweddi eich brawd yn Efengyl Crist.

BRIGHAM YOUNG.

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, RHAGFYR 22, 1855.

YR YMFUDIAD—ydyw prif destun ein sylwadau y tro hwn etto; ac ni wyddom am ddim pwysicach yn awr nag yw iawn gyfarwyddiadau pa fodd i wneuthur y darpariadau angenrheidiol er ymfudo. Tra yr hysbyswn y dosparth hwnw o ymfudwyr a ddewisant ymfudo yn ol yr hen gynllun, sef, myned gydag ychain a phedrolfenni, y bydd y ffordd yn rhydd iddynt oll wneuthur hyny, ac yn go debyg o ran amseryddiad a phrisiau i'r hyn oedd y llynedd er dim a wyddom, ac mai goreu po cyntaf iddynt ein hysbysu o'u bwriadau, anfon eu blaen daloedd, eu henwau, oedran, gwlad eu genedigaeth, eu trefedigaeth a'u galwedigaeth, a chael eu harian at brynu pedrolfenni, ychain, ymborth, &c., ar law yn barod i'w danfon ar y rhybudd byraf, nid ystyriwn eu bod hwy yn sefyll mewn cymmaint o anghen o'n cyfarwyddiadau yn awr ag ydyw y dosparth hwnw a ddysgwyliant am gymhorth gan ereill neu gan y Gymdeithas. Hysbysasom yn ein rhifynau blaenorol fod symiau o arian wedi cael eu cyfranu gan y Llywydd Young, ac ereill, er cynnorthwyo y Saint a fuont fyw ffyddlonaf am yr hwyaf o amser yn yr eglwys, a'n bod yn gofyn i'r Llywyddion yn mhob man i chwilio allan ag anfon i ni enwau ac oedran y ffyddloniaid, pa hyd y buont yn yr eglwys, &c., ynghyd a'r hatling eithaf a allant gynnorthwyo eu hymfudiad eu hunain, ac er fod brys mawr am hyn, a pherygl i'r arian gael eu defnyddio at fudo y

lleill a ufuddhasant i'r galwad yn fwy prydlon, ac er fod yr holl Saint yn fyw gan ferw a dwndwr mawr am ymfudo, hysbyswn nad ydym hyd yn hyn wedi cael y gofrestr o nemawr gynnadledd! ac os colla rhai eu hamdden i ymfudo o herwydd hyny, beiant eu llywyddion ac nid nyni.

Er pan gyhoeddasom y rhifyn blaenorol o'r "UDGORN" deallasom gryn lawer o ddirgeledigaethau tra ar ein hymweliad â'r Saint mewn cyfarfodydd cyhoeddus, yn nghymdeithas y Llywyddion Spencer a Daniels, yn Merthyr a Sir Fynwy, pa rai a deilyngant fwy o'n sylw nag o'r blaen ac â'r iawn ddealltwriaeth o ba rai mae lleshâd y Saint yn gyssylltiedig. Tra y dywedwn fod awydd mawr y Saint i ymfudo yn ein synu, a'u hymbiliau taerion yn mhob man am help a ffafr yn toddi ein calon, dywedwn hefyd yn eofn—digied a ddigio, fod esgeulusdod nid bychan yn mhlith llawer os nid yr oll i ymdrechu helpio eu hunain. Wedi deall am y ffordd newydd o groesi y plains, sef, ar draed, a chludo eu hymborth ar ddauolfenni, ac na chaniateir cynnorthwy gan y Drysorfa i ymfudo ond yn y ffordd hon, y cwestiynau cyntaf a ddeuant allan o eneuau llawer o frodyr, a chwiorydd hefyd ydynt, "Wel, wel, pa fodd y cariwn ein bonets, humberellas, parasols, a'n gwnau sidan; ac fe andwyir ein *shawls* drydfawr wrth eu cario mewn cydau! O'r anwyl, ni allaf fi feddwl myned hebddynt." "Ië," ebe arall "nid allwn fyned a'n *looking-glasses*, ein *ornaments*, ein *china*, na'r holl ddilladau newyddion a ddarparasom erbyn y daith." Cwyna y brodyr yn aml eisoes, "Wel, gwaith ofer oedd i ni brynu cynnifer parau o ddillad gan yr *hawkers*, hetiau, botasau, ac esgidiau a *watches* newydd erbyn ymfudo, gan na allwn eu cario gyda ni, heb law ein bod mewn dyled am danynt." Ydyw, mae y dirgeledigaethau a ddarganfyddasom er ys ychydig ddyddiau ar y pwnc hwn yn profi yn amlwg yr angen sydd i lywyddion chwilio i mewn i, ac iawn gyfarwyddo y Saint yn eu darpariadau i ymfudo, ac mae yn ddiammheuol genym fod ugeiniau os nad cannoedd yn ein plith a allant werthu digon o gelfi, dilladau, a theganau afreidiol, ag y gallent wneuthur yn well hebddynt, er ymfudo eu hunain i'r Taleithiau, neu ran fawr o'u ffordd i Seion. Wrth y cyfryw, dywedwn, nad i *gyfoethogion* fel hwynt y bwriedir rhoi cynnorthwy o'r arian dan sylw, eithr i'r rhai sydd rhy dlawd i allu trysori y fath gyf-

lawnder o nwyfau yn eu cylch i fod yn rhwystr i'w hymfudiad. Bwriedir "helpu y sawl a helpia ei hunan," mae'n wir, eithr nid y sawl a helpia ei hunan yn y ffordd yna, ond y sawl a helpia ei hunan drwy werthu yr oll a allo er helpio ei ymfudiad ei hun. A phe byddai yn bosibl iddynt gludo y fath ofer-bethau ar ddauolfenni, nid ystyriwn y byddai yn onest i neb geisio llogellu pethau felly, a thrwy hyny amddifadu ereill o'r fraint o ymfudo. Y sawl nad yw yn foddlon i ymadael â hyd y nod bob peth ond dillad newid, ïe, y geiniog ddiweddaf er ei ymfudo ei hun, nid yw yn deilwng o gael help ereill i ymfudo; arhosed hyd nes y bo digon o ysbryd Seion ynddo i wneyd hyny, ac na anfoner ei enw na'i goffawdwriaeth i ni am gymhorth. A da fyddai i'r oll ddeall y bydd yr un ysbryd ag a ddaliodd Ananias a Saphira yn eu dichell; fod yr hwn a ganfyddodd y "llafn aur" er mor gudd y cuddiodd Achan ef yn y gwersyll, a'i lygaid mor dreiddgar yn awr â'r pryd hyny, ac na chaffai ei darnguddiad hwynt o'u heiddo yn awr ond y cyffelyb effaith yn eu herbyn hwythau, neu, o leiaf, os na rwystrent eu mudiad drwy gelu rhan o'r hyn a feddent, amlwg yw mai po fwyaf o arian a feddent eu hunain, po leiaf a dollent ar y Drysorfa—tebycaf fyddent i gael y gweddill anghenrheidiol, ac felly, mwyaf yn y byd a allai fyned ar yr un arian. Na ddianged y mater pwysig hwn rhag golygon craffus y Llywyddion a ddetholant yr ymfudwyr. Nid arall a ofyna eu heiddynt, eithr gofynir iddynt ddefnyddio eu holl foddion er eu mudo eu hunain. Mae eu lleshad eu hunain yn eu cymhell i droi pob peth yn wasanaethyddol i'w eu hymfudiad. Hawddach o lawer fyddai iddynt ennill dilladau, &c., yn y Dyffryn nâ'u cludo gyda hwynt yn ol y ffordd newydd dan sylw; heblaw y llesiant ysbrydol a fwynheid drwy y fraint o fod yn Seion yn eu hennill rhagor yn Babilon.

Etto meddwn, a chraffed pawb ag y perthyna! Na fydded i'r Saint ag y cymmerir eu henwau i lawr osod eu mheddyliau mor ddidroi yn ol ar eu hymfudiad, na chredu fod rhoddi eu henwau i lawr yn *brawf* y caffant y fraint o ymfudo eleni fel y byddo siomiant, os felly y bydd, yn peri niwed i'w hamgylchiadau na'u teimladau. Dyben yr ymholiad yw cael allan y rhai teilynga i gael help erbyn y bo modd, eithr dibyna nifer y rhai a gynnorthwyir, fel y dywedasom yn ein holaf, ar y llwydd-

iant a geir i werthu y meddiannau a anrhegwyd i'r perwyl, desgrifiad o ba rai a feddwn, ac yr ydym wedi gwerthu peth eisoes, a gobeithion am werthu chwaneg; ac hefyd, doethach fyddai defnyddio eu ffydd i weddio ar yr Hwn sydd yn dal allweddau calonau y cyfoethogion idd eu datgloi, a'u llogellau hefyd, nag ymollwng dan ddylanwad penboethni i ormodedd rhysedd, rhag eu siomi.

Cyfrifed y sawl a anfona ei enw i ni beth a gaiff am y clociau, y *pictures* a'r *ornaments* a guddia barwydydd ei dŷ, y ‹ e fi y *chest of drawers*, a'r dilladau a'u llanwa, a phob peth arall a ddichon droi yn arian. Sylwer! nid eu *gwerthu* oll hyd nes y ceir sicrwydd y ceir help, eithr eu prisio oll, a chwilio pa le y gellir eu gwerthu ar rybudd byr, a hysbysu pa faint fydd yr oll. Cofier fod talu eu dyledion i bawb, *yn neillduol i eglwys i duw* yn ddarpariad anhebgorol anghenrheidiol. Y sawl na allo dalu yr oll i'r byd, danghosed egwyddor onest a chyfiawn drwy wneuthur a allo at hyny, eled at ei ofynwr, a cheisied ei gydsynied i fyned,—y tala oddi draw. Clod fo i'w henwau, mae ereill wedi talu o'r Dyffryn, yr hyn ni allent dalu yn a, a dichon pawb wneuthur yr un modd; eithr er dim na fydded i ni weled y gofynwyr yn dilyn neb o'r Saint, ac yn eu cywilyddio pan ar gychwyn o'u gwlad. Cymmoder yn brydlon rhag gwarth ar y grefydd oreu a fedd dynion.

Cyfnewidiadau ac Etholiadau.—Mae y cyfnewidiadau a'r etholiadau canlynol i gymmeryd lle yn yr Eglwys drwy y Dywysogaeth ar y dydd laf o fis Chwefror, 1856.

Rhyddheir y Llywyddion Cynnadleddau a ganlyn i'r dyben iddynt ymfudo yn y tymmor dyfodol :—

John Parry, Robert Evans, Thomas D. Giles, Benjamin Jones, John Price, Thomas Jenkins, Thomas D. Evans, John Davies, John Richards, William Lewis, Thomas Morgan, a Lewis Davies.

Mae Cynnadleddau Gogleddol a Deheuol Penfro i gael eu cyssylltu, a'u cyfenwi yn Gynnadledd Penfro.

Etholwyd yr Henuriad Abednego Williams i olynu y Llywydd Robert Evans yn Lywyddiaeth Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg.

Etholwyd yr Henuriad Benjamin Evans i olynu y Llywydd T. D. Giles yn Lywyddiaeth Cynnadledd Sir Fynwy.

Etholwyd yr Henuriad John Thomas i olynu y Llywydd T. Morgan yn Lywyddiaeth Cynnadledd Brycheiniog.

Etholwyd yr Henuriad Thomas Harries i barhau i olynu y Llywydd D. Jones yn Lywyddiaeth Cynnadledd Orllewinol Morganwg.

Etholwyd yr Henuriad David Davies i olynu y Llywydd B. Jones yn Llywyddiaeth Cynnadledd Llanelli.

Etholwyd yr Henuriad William Jones i olynu y Llywydd Thomas Jenkins yn Lywyddiaeth Cynnadledd Caerfyrddin.

Etholwyd yr Henuriad Edward D. Miles i gymmeryd Llywyddiaeth Cynnadledd Penfro.

Etholwyd yr Henuriad Thomas Jones i olynu y Llywydd John Richards yn Lywyddiaeth Cynnadledd Sir Aberteifi.

Etholwyd yr Henuriad John Treharn i olynu y Llywydd J. Davies yn Lywyddiaeth Cynnadledd Sir Feirionydd.

Etholwyd yr Henuriad Evan S. Morgans i olynu y Llywydd William Lewis yn Lywyddiaeth Cynnadledd Conwy a Môn.

Etholwyd yr Henuriad Griffith Roberts i olynu y Llywydd John Parry yn Lywyddiaeth Cynnadledd Sir Ddinbych.

Etholwyd yr Henuriad Thomas Rees i olynu y Llywydd L. Davies yn Lywyddiaeth Cynnadledd Sir Fflint.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O RHAG. 5 HYD 18.—Thomas Morgans, 15s; E. Middleton, £10; Lewis Davies, £2 15s 6c; B. Jones, £2 4s; G. W. Davies, £37; Hugh Roberts, £3; E. S. Morgans, £1 4s 4c; W. Lewis, £3 5s; J. Richards, £1 2s 6c.

CYMMANFAOEDD Y DEHEU.—Merthyr, Rhag. 30ain; Brycheiniog, Ion. 6fed; Mynwy, ar y 13eg; Abertawy, ar yr 20fed; Llanelli, ar y 27ain; Caerfyrddin, Chwef. 3ydd; Aberteifi, ar y 10fed; Gogledd Penfro, ar y 17eg; Deheu Penfro, ar y 24ain.

☞ Gwthiodd pethau ereill daliadau Cynnadledd Orllewinol Morganwg allan hyd y rhifyn nesaf.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,



NEU

# SEREN Y SAINT;

YN CYNNWYS

EGWYDDORION "GORUCHWYLIAETH CYFLAWNDER YR AMSEROEDD,"

MEWN

TRAETHODAU, LLYTHYRON, HANESION, PRYDYDDIAETH, &c.

"A mi a osodais wylwyr arnoch chwi, gan ddywedyd, Gwrandewch ar sain yr udgorn."—JER. VI, 17.

"Holl drigolion y byd, a phreswylwyr y ddaear gwelwch pan gyfodo efe faner ar y mynyddoedd, a chlywch pan udgano ag udgorn."—ESA. XVIII, 3.

CYFROL IX.

---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD, CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN D. DANIELS,
1856.

# RHAGYMADRODD.

---

WELE y nawfed Gyfrol o UDGORN SEION yn nwylaw ein darllenwyr. Y prawf o hynodrwydd ei swynol sain yn galw miloedd i ymrestru tan faner yr Iesu, a miloedd i gyrchu tua chedyrn leoedd Israel ar benau y Mynyddau Tragywyddol a roddodd i ninnau, er ein analluawgrwydd ein hunain, galondid i chwythu, trwy gymhorth ein Duw, y nawfed waith, ar filwyr Teyrnas Iesu i ddysgu mwyfwy o'i pherffaith drefn. Da genym ddeall fod ymddegymu, ychwaneg o ymprydio, ymgynnilo, dyfal weddio, a diwyd weithio yn ddygwyddiadau, hynod, yn mhlith eraill, sydd wedi eu croniclo yn ein Nawfed Gyfrol. Yn ddyddorach o hyd yr ant yn mhob cyfrol ychwanegol yn gyferbyniol i lwyddiant, cynnyddiant, nerth a mawrhydri Teyrnas Iesu, a dadymchweliad teyrnasoedd y byd.

Ein rhyfelgyrch presennol sydd waith ddarpariadol i ddyfodiad ein Brenin Mawr yn ei ogoniant, gyda'i fawreddog lu sydd fry, i osod dial ar y sawl a wrthodant yr ammodau o heddwch a gynnygiwn ni yn ei enw EF.

Udgorn udgyrn a Seren ser Cymru yw eiddo y Saint—seinia rhyfel-floedd Brenin brenhinoedd ac Arglwydd arglwyddi yn erbyn y Buttain fawr a feddwodd ar waed ei Saint Udgana wrth y rhai a ymgymmodant a Duw, trwy ei genhadon,

"Deuwch allan o honi hi." Wrth bawb eraill dywed, "Canys daeth awr ei farn Ef.

*Er* mai bychan ydyw ein Udgorn, hynod a phwysig yw ei sain. Os dyddorol yw mawrion ddygwyddiadau Goruchwyliaeth y goruchwyliaetnau a Chyflawnder yr Amseroedd, cyffelyb fydd ei sain ynte, oherwydd testun parhaus ei floeddiadau fydd dinystr Babilon, a chyfodiad a chynnydd Seion. Am barhâd seiniad ei gyffelyb hyd oni ddelo sain taranllyd udgorn yr Archangel yn bloeddio, "Syrthiodd, syrthiodd Babilon Fawr—ac am i oleuni ein Seren fychan, ynghyd a phob un o'i bath, i arwain doethion y ddwyrein-wlad hon a adnabyddant ei goleuni, at Haul y Cyfiawnder yn y Gorllewin, y taer weddia eich

GOLYGYDD.

# CYNNWYSIAD.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 1.] IONAWR 5, 1856. [CYF. IX.

## YR IAITH SAESONAEG.

*(O'r "Star.")*

Y MAE yn naturiol i ddynion garu y wlad yn mha un eu ganwyd ac eu dysgwyd, i lynu wrth ddulliau ac arferiadau eu tadau, ac i gredu mai yr iaith yn mha un y dysgasant gyntaf i floesg-ddweyd eu hanghenion plentynaidd yw y perffeithiaf o bob iaith arall. Y mae yn dda y fod hyn felly, a thuedda i wneuthur dynion yn foddlonach i'w sefyllfa, ac ni chwennychem ei gael fel arall er mwyn cyfnewidiad yn unig.

Saint y Dyddiau Diweddaf ydynt bobl neillduol yr Arglwydd, a gyfodwyd er cyflawni ei ddybenion yn y byd, i'r hyn y mae yr ufydd dod perffeithiaf yn anhebgorol. Mewn trefn i bobl ddyfod yn berffaith mewn undeb rhaid iddynt fod yn un yn mhob peth a ddichon ddylanwadu ar eu gweithredoedd, pa un a fyddant o natur grefyddol, wladol, cymdeithasol, neu gartrefol. Ni ellir byth wneuthur hyn yn effeithiol heb gyfrwng neu iaith gyffredinol, drwy yr hon y gall y naill berson drosglwyddo meddylddrychau neu egwyddorion i'r llall, yn yr un goleuni yn mha un eu derbyniwyd.

Bydd y Saint rhyw ddiwrnod yn feddiannol ar iaith bur, o darddiad Nefol, gyffelyb i'r hon a lefarodd Adda yn Ngardd Eden pan y llefarodd yr Arglwydd wrtho ef gydag awel y dydd, â'r hon etto a fydd yn gyfrwng cyfrinach pan y daw dynion yn ddigon perffaith i ymddyddan â'r Duwiau.

Os oes unrhyw iaith ar y ddaear a ymdebygola fwy i'r eiddo bur hon na'u gilydd, ni ddadguddiwyd hyny i'r byd hyd yn hyn. Am hyny ni ddichon fod o unrhyw ddyben i ddadleu ar y pwnc. Gweddus yw i'r Saint ag ydynt yn wasgaredig trwy y byd, i osod eu teimladau gwladwriaethol, eu rhagfarn dros eu hieithoedd a'u harferiadau genedigol o'r neilldu, suddo yr oll yn Nheyrnas Dduw, a hoffi yn fwyaf yr hyn a ffafria Efe, a'r hyn a duedda i'w hadferyd i'w bresennoldeb. O blith yr amledd o ieithoedd, gwelodd yr Arglwydd yn dda i ethol y Saesonaeg fel y cyfrwng trwy ba un y gwelodd yn addas i ddadguddio cyflawnder yr Efengyl yn yr Oruchwyliaeth hon. Bodola y ffaith, paham y gwnaeth Efe felly, nid oes gan undyn hawl i ofyn. I'r iaith hon y cyfieithwyd Llyfr Mormon trwy yr Urim a'r Thummim, ac ynddi yr ysgrifenwyd y dadguddiadau yn yr Athrawiaeth a Chyfammodau gyntaf fel eu rhoddwyd yn wreiddiol trwy ysbrydoliaeth Duw. Hon yw iaith gyffredinol y Saint yn Seion, trwy yr hon y parha gweision yr Arglwydd i hysbysu ei ewyllys i genedloedd y ddaear. Ni ellir cyfieithu unGwaith o'r iaith yn mha un ei hysgrifenwyd yn wreiddiol i un arall heb golli llawer o'r nerth a'r gallu. Am hyny os yw y Saint am ddarllen dadguddiadau yr Arglwydd yn y dyddiau hyn yn eu hardderchogrwydd a'u rhagoroldeb gwreiddiol, ni wnant hyny ond yn yr iaith Saesonaeg, yn mha un y maent yn ysgrifenedig.

I ddarlunio y pwnc yn egluraeh, ystyriwn wir sefyllfa y cenadiaethau Swissaidd, Italaidd, a Chymreig. Mae gan y rhai sydd a'r gofal llywyddol o honynt i gynnal y baich o fod braidd yr unig gyfrwng trwy yr hwn y dichon y Saint dderbyn addysgiadau oddiwrth yr awdurdodau, a'r unig rai a allant deimlo pwys yr addysgiadau hyn yn eu cyflawn allu gwreiddiol. Cyflwynant hwythau yn eu tro i'r Henuriaid llywyddol oddi tanynt y gwybodaethau a dderbyniant, ac o ganlyniad rhaid i'r goleuni adlewyrchu drwy amryw gyfryngau er ei ledaenu yn mhlith y bobl. Mae pob adlewyrchiad, er nad pa mor bur y bydd y cyfryngau, yn anbarddu ardderchogrwydd ac yn lleihau tanbeidrwydd y goleuni a ddeilliaw o'r ffynnonell. Os darllena y bobl y *Stierne, Darsteller*, neu UDGORN SEION, treigla drwyddynt yr anmherffeithrwydd ag sydd yn annocheladwy i gyfieithad. Pe y deallai Llywyddion Cynnadleddau drwy y Cenadiaethau a

wybodwyd Saesonaeg, agorai hyny o'u blaen faes eang i chwilio i mewn i gyhoeddiadau yr Eglwys. Gallent, drwy allu darllen y "Journal of Discourses," y "Deseret News," y "Star," y "Luminary," a'r "Mormon," ddrachtio yn ddwfn o'r hyfforddiadau cyfoethog a gynnwysant, deallent ysgogiadau cyffredinol ac amcanion yr Eglwys yn well, a byddent yn gyffelyb i ffynnonell orlifol o ddoethineb, yn barod i weinyddu yn haelionus i'r anghenog. Gallent ddirnad a chyflawni yr addysgiadau a gaffent gan eu Llywyddion yn rhwyddach ac yn effeithiolach o lawer.

Crythäau hyny ddwylaw y rhai sydd yn llywyddu y cyfryw genadiaethau, a gwnelai eu hymdrechiadau yn hawddach a mwy effeithiol. Yn y ffordd yma cenedlid ysbryd Seion yn fwy cyffredinol yn y Saint. Deallent eu dyledswyddau a'r peth a ofynid ganddynt yn well, ddim ond o herwydd y byddai eu hathrawon yn gymhwysach i'w dysgu.

Dylai, nid yn unig Llywyddion Cynnadleddau lle nad yw yr iaith Saesonaeg yn cael ei llefaru, eithr Llywydd pob Cangen, a'r Henuriaid Teithiol droi eu sylw at y pwnc pwysig yma, a pheidio colli yr un cyfleustra er dysgu yr iaith Saesonaeg, fel y llesolent eu hunain, ac y byddont alluocach drwy hyny i borthi â chyfoeth bywyd tragywyddol y rhai y mae yn rhwymedig arnynt eu gwylio a'u cyfarwyddo. Dymunwn yn neillduol ar i'r brodyr ieuainc anturus, pa un a ymwnant â'r weinidogaeth ai peidio, i ystyried fod y Cynghor yma yn cyfeirio yn uniongyrchol atynt hwy, canys agorai hyny y ffordd yn effeithiolaf, os byddant yn ffyddlon gyda llaw, i gynnyddiant cyflym mewn doethineb, dealltwriaeth, a'r holl gymhwysderau hyny a'u galluogant i adeiladu teyrnas Duw, a gwneuthur daioni i'w cyd-ddynion.

Dysga yr ieuainc iaith newydd yn llawer rhwyddach nâ phersonau oedranus, a dylai rhieni a feddant deulu o blant ymdrechu cael gan yr oll os gellir, neu yn y man lleiaf un i ddeall yr iaith Saesonaeg. Credwn nad yw amgylchiadau llawer o'r Saint yn caniatau hyn, ac esgeulusir miloedd o gyfleusderau o herwydd na werthfawrogir y pwysigrwydd o'u mawrygu. Dysgwylia yr holl ffyddloniaid deithio rhyw ddydd i'r ymgasgl-fan. Cyn gynted ag y gadawant yr hen, a chyrhaedd y byd newydd, amgylchynir hwynt â thrafferthion di-

rifedi, a byddant yn agored i gael annhegwch a cholled o achos diffyg ychydig ddealltwriaeth o'r iaith Saesonaeg. Cymmerir y gofal mwyaf a ellir gan y rhai ydynt a gofal y Saint ymfudol arnynt i ochelyd hyny, eithr nis gellir yn effeithiol bob amser, nid ydynt ychwaith mewn sefyllfa, yn enwedig y rhai a arosant am yspaid yn y Taleithiau lle ag y gellir edrych at eu lleshâd.

Y mae yn amlwg i bawb y fod yn rhaid i amrywiol Genedlaethau y ddaear gael pregethu yr Efengyl iddynt yn eu hiaith gartrefol. Un brif resymeg dros hyn yw, y fod yn rhaid i'r rhai a'i gwrthoda wynebu tystiolaeth eu cenedl a'u perthynasau eu hunain yn nydd y cyfrif olaf. Er y gwel yr Arglwydd yn addas i gyflwyno yr Efengyl i bobl drwy offerynoliaeth bloesgwefusau y dyeithr-ddyn, etto rhaid yw ei lledaenu yn eu plith gan y rhai a'i pregetha yn ngrym rhwyddineb naturiol eu mham iaith. Eithr, wedi yr ufyddhao personau i'r Efengyl, ac yr ymunant yn eu mhanteision ag eiddo teyrnas Dduw, y mae yn ddyledswydd ar yr Henuriaid sydd yn llafurio yn eu plith i'w eu dysgu yn yr anghenrheidrwydd o ddeall yr iaith Saesonaeg yn gynnar, fel y derbyniont y cyfryw wybodaeth ac addysg na cheir ond drwyddi hi. Pwy a gyfrifai golled un o'r Saint yn ystod y flwyddyn gyntaf ar ol ei fynediad i Utah drwy fod heb ddeall yr iaith Saesonaeg? Yno y mae Tŷ yr Arglwydd a Thabernacl y gynnulleidfa, lle y gweinydda Apostolion a Phrophwydi yn yr ordinhadau santaidd, ac yr eglurir yn fanylach egwyddorion dyrchafiad a bywyd tragywyddol. Yr amcan mawr am ba un y llafuriodd ac yr ymorchestodd am flynyddau sydd wedi ei gyrhaedd—y mae efe gartref gyda'r Saint—eithr am hir amser ni all ond medi yn rhanedig o gyflawn ddaioni ei lafur-waith, o herwydd y mae rhwystr ar ei ffordd, yr hwn, pe wedi ei symud eisoes a achubai flwyddyn neu ddwy o'r amser gwerthfawrocaf i Sant. I gyrhaedd dealltwriaeth o unrhyw iaith gofynir amynedd a dyfalwch, eithr gan y dysgwylia pob Sant orfodaeth gan amgylchiadau i ddeall y Saesonaeg rhyw ddydd, oedi ei wneuthur sydd golled parhaus na wellheir mo hono byth.

Dylai yr holl Saint, o ba genedl bynag y byddont, ddarllen llyfrau awdurdodedig yr Eglwys yn yr iaith hono, ac ni ddylent ballu cymmeryd y "Star," y "Journal of Discourses," a'r cyfryw draethodau eglwysig ag y'nt gymhwysiadol i'w hamgylchiadau.

Gellid dweyd llawer chwaneg ar y mater hwn, ond hyderwn y fod hyn yma yn ddigon i alluogi y Saint sydd yn llefaru ieithoedd ereill i weled yr anghenrheidrwydd i weithredu yn ol yr awgrymiadau a roddasom. Os gwnant felly, dilyna gwobr gyflawn hwy yn naturiol fel yr ânt yn mlaen, ac ychwanegir iddynt y wybodaeth a gynnyrcha ffrwythau heddychlawn cyfiawnder, y dealltwriaeth hwnw a berffeithia, a'r goleuni hwnw a dywysa ddynion i bresennoldeb y Tad.

Gelwir sylw Llywyddion y Cenadiaethau Scandinavaidd, Swisaidd, Italaidd, a Chymröaidd yn neillduol at y pwnc yma. Gofynir iddynt hefyd gael cyfieithiadau o'r sylwadau uchod, a'u gosod yn Udgorn Seion, *Scandinaviens Stierne*, a'r *Darsteller*, a gwneuthur eu hetholiadau dyfodol o Lywyddion Cynnadleddau a Changenau, ac Henuriaid Teithiol, gyda golwg i lanw y swyddau hyn gymmaint ag a ellir â dynion sydd yn deall Saesonaeg, neu a deimlant awydd i'w ddysgu.

---

## LLYTHYR O'R DYFFRYN.

*D. Ll. H. Mawr, Awst* 27, 1855.

Anwyl Ewythr D. Daniels, —Gwelais linell yn eich llythyr yn hysbysu fod Hannah ac Ann wedi ymuno drachefn â'r Eglwys, a'u bod yn Saint da, &c., ac yn dymuno am i mi faddeu iddynt a danfon am danynt, yr hyn a benderfynais wneyd, ac a anfonais at Hannah ar yr achos; y mae genyf ddigon o fodd i gael, ac y mae eu heisieu hwy arnaf, canys yr wyf yn cadw dwy forwyn yn fy nhŷ yn wastad. Yr wyf yn byw yn ymyl y North West Corner i'r Temple Block, y tŷ nesaf i'r Deml, ac yr wyf yn adeiladu tŷ newydd yn awr yn ochr tŷ y Brawd H. C. Kimball. Yr wyf eleni yn gwneyd *Astronomical Ephemeris* ac Almanac i'r Eglwys, ac yr wyf yn byw ar fy nysgeidiaeth. Clywais fod fy merch fach ieuangaf wedi marw, ac yr oedd yn ddrwg iawn genyf glywed; nis gwn pa le y mae Mary, ond fe fyddai yn well genyf nâ mil o ddoleri pe baech yn gallu ei chael genych drosodd. Y mae Eliza fach yn lodes braf iawn, yn iach a chalonog. Ond pa le y mae y Chwaer Ann Daniels yn awr, ni chlywais ddim oddiwrthi, ond ei bod wedi myned tua Sir Forganwg, yr oedd hi yn arfer bod mewn awydd i ddyfod i

Seion; os yw hi felly yn awr, gadewch iddi ymfudo ar fy nghost i, ac mi a dalaf y cwbl pan ddeloch i'r Dyffryn, a bydded y llythyr hwn yn "security" am y peth, ac ymdrechwch ddwyn Mary gyda hi os bydd rhyw ffordd, ac mi a ad-dalaf yr oll yn onest. Nid oes genyf ond cariad o'r goreu tuag at bob un o honynt. Cofiwch fi at Dafydd fy mrawd, ac at ei holl blant, yr wyf yn gobeithio ei fod yn dyfod yma eleni; os nad yw, dymunwn gael gwybod ganddo, a dymunwch wrtho am anfon llythyr yn fuan yn cynnwys gwybodaeth o'i deimladau, ei fwriad, &c., ynghyd a phob manylrwydd ynghylch ei blant; mi a ddymunwn iddynt oll ddyfod yma yn fuan, canys nis gallant hwy nâ ninnau fwynhau cyflawnder o ddedwyddwch nes dyfod at ein gilydd,—yma y mae dedwyddwch i'r Saint, ac y mae yn golled fawr iddynt aros yn Babilon.

Dymunwn i chwithau anfon llythyr ataf yn syth, ac na ysgrifenwch ddim i mi mewn llythyron ereill, y mae yn well genyf dalu cludiad fy llythyr fy hun. Y mae eich teulu yn iach a chysurus, ac y mae pob peth yn dda, ond fod yr hîn wedi bod yn anarferol o sych yma eleni, ac nid yw y cnydau mor doreithiog ag y gwelsoch hwynt, ond etto tybir y bydd eithaf digon o lun'aeth.

Dymunwn fy nghofio yn garedig iawn at y Capt. Dan Jones; clywais ei fod yn dyoddef erlidigaeth drom yn Nghymru er pan yr ymadawais. O! Gymru anwyl, pwy a'ch llygad-dynodd, nad ufyddhaech i'r gwirionedd? Pe byddent ond gwybod y filfed ran o'r parch, y clod, yr anrhydedd, a'r gogoniant sydd i Dan Jones yn nheyrnas Dduw, ïe, y sefyllfa yn mha un y mae yn sefyll hyd y nod yr awr hon yn ngolwg Prophwydi ac Apostolion y Duw Goruchaf, tybiaf yr arswydent beth, ac y dychrynent nes y byddai eu gwalltau yn sefyll yn syth pan yr edrychent arno! dymunaf nerth yr Arglwydd o'i blaid, a chredwyf ei fod, ac y gorchfyga.

Yr wyf yn awr yn terfynu, ac yn dymuno pob bendith arnoch, ac y byddwch yn llwyddiannus i gael fy anwyl ffryndiau i dir yr addewid.

Yr eiddoch yn ddiffuant,

THOMAS JOB.

---

## GAIR O DDOETHINEB.

TÔN—"*Bywyd a nodded.*"

MAE rhyw arferion ffol o hyd,
Yn para etto yn y byd,
Peth rhyfedd iawn fod Duw cyhyd,
Yn dyoddef peth mor ffol,
Yfed a meddwi,
A chwydu ar y llawr,
A chnoi tybaco,
A 'smocio 'nawr.

Mae'n syndod 'nawr na welai dyn,
Ei fawr ffolineb ef ei hun;
Fe waria'i aur er prynu gwin,
Yr hwn a'i gyr yn ffol.
Yfed a meddwi, &c.

Ac arall hàl, bob dimeu goch,
Er cael tybaco 'nghil ei foch,
Ac os na chaiff fe fydd ei gloch,
Yn uwch nâ chloch y Llan.
Yfed a meddwi, &c.

Nid call na doeth, ond ffol yw dyn,
Dâl am beth a niweidia'i hun,—
Gwna dduw o'i fol; a'i gefn blin
Heb ddim i'w guddio'n hardd,
Yfed a meddwi, &c.

Efe gwyd rai i wisgo *vail*,
Ac yntau wrth ei hen wisg wael,
A'i deulu llwm yn methu cael,
Ond gwael fywioliaeth flin,
Yfed a meddwi, &c.

Mae rhai yn gwisgo sidan main,
A gwledda ar ddanteithion cain,
Ac yntau sydd yn porthi rhai'n,
A'i deulu 'n wael eu drych.
Yfed a meddwi, &c.

Mae'n rhaid i rai gael snuff a thê,
A choffi cryf ar 'n ail ag e',
A *rum* neu *frandy* ynddo fe,
Er bod mewn eithaf *style*.
Yfed a meddwi, &c.

Fe welwyd ambell i wr mawr,
Fel hyn yn syrthio'n llwm i'r llawr,
Ac ar y plwyf y maent yn awr,
Am iddynt fod mor ffol.
Yfed a meddwi, &c.

Mi glywais un yn dweyd yn hy,
Heb dê, mai marw wnelai hi;
Ond cofied am ei hen famgu,
Yn marw 'n gant a dwy,
Heb dê na choffi,
Na phrofi *rum* a llaeth,
Na snuff i'w drygu,
Na myglys 'chwaith.

Fe yfai hono laeth a maidd,
A dwfr gyda'i bara haidd,
Hi wnelai gawl o lysieu braidd,
Yn well na dim sy 'nawr.
Heb dê na choffi, &c.

Ni wyliai hono'n hwyr i lawr,
Ond codai 'n foreu gyda'r wawr.
A chasglodd felly gyfoeth mawr,
Trwy fod yn ddoeth fel hyn.
Heb dê na choffi, &c.

Mae *bome* ac *organs* yn yr ardd,
Mynt, *savory*, a *goldmary* hardd,
Tòr, sych y rhai'n, 'nol gair y bardd,
Gwna ddiod o rhai hyn.
Heb dê na choffi, &c.

Os na eill bôd â rheswm cu,
Byth argyhoeddi dyn fel ti,
O, cymmer ddysg gan fuwch neu gi,
Neu ful, neu geffyl call,
Gwrthodant drewlwch,
A'r hen ddybaco du,
A'r gwirod poethion,
Sydd ddrwg i ni.

Cynnygier *joe* i'r ceffyl cu,
I ful, i fuwch, i hwch, neu gi,
'Does un o rhai'n a'i hoffant hi
Na mwg y bibell 'chwaith.
Gwrthodant drewlwch, &c.

Rho'er *joe* i wydd, neu geiliog du,
Neu *binch* o snuff i gath neu gi,
A *gin* neu win i oenig cu,
Cewch addysg ganddynt hwy.
Gwrthodant drewlwch, &c.

Rho'er *glass* o *rum* neu frandy cryf,
I'r ddafad fwyn er gwel'd os yf,
I lwynog call, i lew, neu bryf,
Cewch addysg ganddynt hwy,
Gwrthodant drewlwch, &c.

Cynnygier tê, neu goffi coch,
I gathod coed, neu ddaear foch,
Neu rhodder *joe* yn nghil eu boch,
Cewch addysg ganddynt hwy,
Gwrthodant drewlwch, &c.

Holl bysg y môr, ymlusgiaid da'r
A phob creadur gwyllt a gwâr,
A'r llu asgellog nefoedd bâr,
Wir addysg oll yn hyn.
Gwrthodant drewlwch, &c.

Wel bellach, Gymry, gyda brys,
Rhowch gân o ffarwel i bob blys,
Gwasnaethwch Dduw bob dydd o'r mis,
A dedwydd fydd eich lle.
Gwrthodwch drewlwch, &c.

Os hyn a wnewch cewch ffafr Duw,
Ei hedd a phob gwybodaeth wiw,
A dedwydd fan i fythol fyw.
A mwyniant breiniau'r nef.
Gwrthodwch drewlwch,
A'r hen ddybaco du,
A'r gwirod poethion,
Sydd ddrw[illegible]

*Glan Teifi.* JOHN RICHARDS.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, IONAWR 5, 1856.

Y FLWYDDYN NEWYDD.—Drwy ddaioni rhyfeddol Estynwr einioes pob anadlydd bywyd, wele ni a'n darllenwyr yn rhoddi y cam cyntaf ar drothwy blwyddyn newydd! A'r nad pwy a all ddesgrifio ei deimladau, nid ydym ni yn alluog i ddweyd a deimlwn, ac a feddyliwn wrth edrych yn ol i'r flwyddyn fynedol na'r hyn a ganfyddwn i'r dyfodol. Hyn a ddywedwn, fod yr effeithiau daionus a ganfyddwn yn ganlynol i lais egwan ein HUDGORN yn ein calonogi i gydio ynddo etto, ac i amcanu udganu yn uwch nag oll—Deuwch allan o Babilon ar frys, chwi

blant Seion. Er fod ysgrechfeydd holl udgyrn Babilonia fawr oddiamgylch ogylch i ni yn ceisio boddi ein llais a'u tônau aflafar, nid y'm yn digaloni mymryn; mae carwyr y gwir mewn ufydd-dod i'r llais yn dianc i'r unig ddiogelfan, tra mae y lleill fel yr ych i'r lladdfa yn dilyn eu *fifes* a'u *drums* i grafangau angeu deu-plyg.

Mae ein blwyddyn newydd hon, fel milwr a gysgodd dros nos ar ol lladd ei waethaf, yn deffro yn foreu ar faes y gwaed, o tan ei lawn arfau; yn rhuthro dros gelaneddau y dydd mynedol; yn ei wanc am waed, gwaedda—Moes, moes etto fwyd i'm rhuddiawg gledd i wledda! O'i goryn i'w sawdl, mae pob aelod, cymmal a gewyn o'n byd fel milwr gorchfygedig yn arteithiau angeu yn ymwingo, a phob aelod yn credu fod ei fywyd ei hun yn ymddibynu ar i'r llall drengu. I'r sawl a ddealla Arwyddion yr Amserau enbydus hyn ma'n amlwg gymylau trwchus, duon, cochion, a gwelw-leision yn ein ffurfafen, yn gwau amdo i genedloedd y byd, y fath a herria hanesyddiaeth i sôn am ei chyffelyb o'r blaen; er hyny yr annuwiol ni wel pan ddêl drygfyd, eithr y doethion a rag welant yr ystorom o hirbell, ac fel colomenod a ehedant i'w ffenestri; ac a ganant yno glodydd i'r Hwn a ddarparodd iddynt, ac a'u harweiniodd hwynt i un llanerch bychan ar wyneb y ddaear gynhyrfus, lle y triga ei phreswylyddion ynghyd mewn hedd a hyfryd hoen, yr hon yw *Utah.* Er hyn oll, yn ddiau y dengys offeiriaid, golygyddion, ac athrawon gau-grefyddol Babel eu cenfigen, eu drygioni a'u câs at wir grefydd eleni, drwy ddyfeisio a chyhoeddi pob chwedlau anwireddus fel y gwnaethant eu gwaethaf y llynedd, ac wedi gweled yn eglur fod eu gwaethaf hwynt oll yn llesiol i "Formoniaeth," dymunwn iddynt rwydd hynt ar eu hanturiaeth, blwyddyn newydd dda, a gwynt teg i wneyd y gwaethaf a lochesant yn erchyll byllau eu calonau twyllodrus—yn mlaen a hi ynte, hyd y carn, pwy a gwyna; mae Duw a'r gwir o'n plaid er hyll floedd holl fleiddiaid byd i'n herbyn. Efe yw ein nherth a'n harweinydd.

Yn amgen ni ychwanegwn yn awr, ond erfyniwn help holl garwyr y gwir i gyflawni ein dyledswyddau eleni, pa un ai drwy chwythu drwy'r UDGORN, ymfudo y tlodion, neu un peth arall a elwir arnom wneuthur dros Seion; gwnawn yr oll drwy ffydd yn ei Brenin, a chrefwn ffyddiawg weddiau ein cyd-filwyr, ar i

ni oll allu milwrio yn ddigon dewr a hir i ennill ei "choronau anniflanedig" hi, a chael bywyd diderfyn i'w gwisgo.

---

Yr Ymfudiad.—Dymunir i Ymfudwyr i'r Taleithiau anfon i ni eu henwau, oedran, galwedigaethau, trigfanau, a'u blaendâl, mor gynted ag y bo modd; canys bwriadwn fyned â hwynt yn gyntaf os ceir llongaid o honynt; a chraffer fod y pris am fabanod yn ddeg swllt, ac mai 8 mlwydd, nid pedair blwydd ar ddeg yw yr oedran a wahaniaetha bris y cludiad.

Mae cyfaddasrwydd y cynllun newydd o groesi y plains ar draed yn dyfod yn fwy amlwg po fwyaf yr edrychir arno, a chyda bendith yr Iôr ar ragofalon a chynlluniau doeth y Llywydd Taylor yr ochr draw, ni raid i neb ofni aflwyddiant a siomedigaeth ond oddiwrth eu hanffyddlondeb eu hunain i gydymffurfio â hwynt.

Yn mhellach ar y mater hwn, ni allwn wneyd yn well nâ dyfynu y sylwadau dyddorol a ganlyn o'r *Star*, yr hyn ynghyd â llythyr rhagorol y Llywydd Young yn y rhifyn blaenorol, a wnant i galonau y ffyddloniaid, er nad pa mor dlawd, i lamu o lawenydd, ac a dueddant i ddeffroi yr hen gysgadwyr i ymroi teilyngu y cymmeriad o ffyddloniaid fel y caffont hwythau yn eu hamseroedd, eu rhan o nodded a chymhorth tadol eu tadau haelionus yn Seion i'w dwyn i ddiogelwch. Yma gwelir yn amlwg eirwiredd addewid ein Brawd hynaf, sef, "Gwyn fyd y rhai addfwyn, canys hwy a etifeddant y ddaear." Addfwynder fyddo prif nodwedd yr oll o honom, fel y gallom fyned i Seion i sicrhau ein teitlau i'n hetifeddiaethau tragywyddol gan mai *addfwynder* yn unig a'i teilynga. Ond chwedl y *Star*:—

"Feallai y gofynir 'Paham na ddewiswyd y cynllun yma yn gynt?' Y mae rhai o'r rhesymau yn amlwg. Deuir i adnabyddiaeth fwy cyffredinol o'r ffordd i Utah, ac y mae llawer o ddynion yn gynnefinach a'i mhanteision a'i hanfanteision, yn fedrusach i farnu pa beth a ellir wneuthur, ac yn alluocach i gynnorthwyo gosodiad pob cynlluniau newyddion mewn gweithrediad mewn modd diogel a doeth nag yr oeddynt gynt. Poblogiad gwlad y rhan gyntaf o'r ffordd, gan y bobl wynion am beth pellder, a achuba yn fuan i'r ymfudiad y drafferth o gludo eu holl luniaeth oddiwrth yr afon Missouri. Y Saint yn Utah ydynt yn dyfod lawer galluocach bob blwyddyn i gyn-

northwyo yr ymfudiad â gweddeuau ac a lluniaeth ar hyd y rhan olaf o'r daith—o hyn rhodda y Llywydd Young y sicrwydd mwyaf cysurlawn; ac yn ddiweddaf, ond mwyaf o'r cwbl, mae ffydd y Saint ac ysbryd ymfudiad wedi cynnyddu, ac y mae miloedd yn awr yn gweled yr anghenrheidrwydd o ymfudo, gan foddloni gwneuthur unrhyw aberthiadau er ei gyflawniad, o'r rhai a deimlasant cyn hyn yn hollol ddifater, ac yn gyffelyb fel pe dewisent yn hytrach, os nad elent yn lled gysurus, i beidio yn gwbl â myned.

Un o amcanion Cwmpeini y D. Y. Barhaus o ddechreuad ei weithrediadau oedd i dynu costau yr ymfudiad i lawr er cyrhaedd y nifer amlaf ag oedd yn ddichonadwy. Un arall, i raddau helaeth iawn oedd i fudo crefftwyr, a phersonau a ystyrid yn oreu er adeiladu a chadarnhau sefydliadau newyddion, ac hefyd y rhai a allasent helpu fwyaf arnynt eu hunain, hyd oni ymsefydlodd y Saint yn gadarn yn eu cartrefle newydd, ac y daethant yn alluog i gyflawni yn effeithiol amcan olaf y Cwmpeini. Yn awr, y mae yr amser wedi dyfod pan y gellir cymhwyso trysorfeydd y Cwmpeini i'w hamcanion gwreiddiol, a'r tlodion ffyddlon ac hir-ymarhous ydynt wrthddrychau neillduol parchedigrwydd. Dyfeisir cynlluniau er dwyn gwaredigaeth y nifer amlaf a ellir o'r rhai hyn gyda'r meddiannau ag ydynt yn llaw y Cwmpeini. Dyma yw y prif amcan sydd i'w gyrhaedd, ac o ba herwydd y mae dauolfenni i gymmeryd lle pedrolfenni ac ychain.

Agoriad y ffordd bob blwyddyn sydd gyferbyniol i gynnyddiant ysbryd ymgasglu, a galluogrwydd y Saint drwy eu ffydd i orchfygu cyfyngderau a phrofedigaethau amlhäol y daith. Nid yw yr anhawsderau i ymgasglu, er cymmaint o orchestion a chaledi a foddlona y Saint eu dyoddef er cyrhaedd Seion ond wedi *dechreu* cael eu hamlygu. Fel, y mae yn ddiddadl y fod amryw a allasent, er ys blynyddau yn ol, fyned yn gysurus ar eu meddiannau eu hunain, eithr a lawenhaent yn awr am gael y cyfleusdra o fyned yno gyda dauolfenni. Efallai y bydd miloedd mewn blynyddau dyfodol ag y bydd yn dda ganddynt ffoi yno ar eu traed, yn garpiog ac amddifaid, a'u pecyn o dan eu ceseiliau, ac heb ddim ond crystyn o fara i'w fwyta. Bydd i laweroedd a ddarllenant hyn yma fyw i weled y cyfryw amser,

rhaet eu goddiwedd 'yd yn y cyfyngderau hyny, oddieithr iddynt fod mor ddiwyd byth ag y gallant fod.

Y mae amryw ddynion wedi teithio y daith hirfaith a blinedig o 2000 o filldiroedd oddiwrth yr afon Missouri hyd California ar draed, ac yn amddifad er mwyn cael ychydig o'r llwch dysglaer i addoli yn nheml Mammon. Pwy, ag sydd yn gwerthfawrogi bendithion yr Efengyl ar na fyddai yn foddlon i ddyoddef cymmaint, os nad mwy—pe yn angheurheidiol, er mwyn cael preswylio gyda y cyfiawnion, a meddu cyfoeth bywyd tragywyddol? Y Mahometan a â i daith o bererindod o fisoedd ac am hyd y nod flynyddoedd, ac a wna bob aberth a all natur ddynol ei ddyoddef, i gysanu bedd ei brophwyd, a dwyn ymaith rhelyw o ddinas santaidd Mecca. Dyoddefa y Pabydd benyd chwerw gyda gobaith am achubiaeth ei enaid rhag y purdan Dyoddefa yr addolydd Hindwaidd yr arteithiau hunan-achosol poenusaf, er ennill ffafr ei dduw dychymygol. Ac fe ddyoddefa Cristionogion ein hoes, a ymddiriedant yn mwrlwm egwan gobaith am iachawdwriaeth yn aml lawer i brofi cywirdeb eu dyben. Yna, oni fydd i Saint, a feddant ddadguddiadau y nefoedd—dystiolaeth yr Iesu—flaen-brofion mwynheiddiwch tragywyddol—a allant gyfranogi o alluoedd y byd a ddaw—yn barod i brofi drwy eu gweithredoedd fod eu ffydd yn werthfawrocach nag einioes y corff—cyfoeth y byd—tybbethau paganiaeth—credo y gau brophwyd, neu ffug-bethau tybiol sectariaeth ein hoes?

Er ein bod yn analluog ar hyn o bryd i osod o flaen ein darllenwyr gynllun ein gweithrediadau yn y tymmor dyfodol, ymdrechwn eu diwallu ag ychydig ffeithiau a'u galluogant i ateb rhai o'r gofyniadau a gyfodant yn ddyddiol yn ein meddyliau ar y mater pwysig hwn.

Rhaid i bob eirchion am bersonau i ymfudo, drwy y D. Ym. Barhaus, er sicrhau ein sylw, ddyfod oddiwrth Lywydd y Cwmpeini. Ni ellir defnyddio trysorfeydd y Cwmpeini ond i gynnorthwyo y rhai a ant trwyodd yn ddiaros i Utah, tan gyfarwyddyd ei oruchwylwyr, ac nis gellir eu defnyddio i ynnorthwyo y rhai nad ydynt ond yn myned hyd yr Unol Daleithiau.

Ni all y Cwmpeini roi benthyg eleni fel y gwnaeth y llynedd, i'r rhai a feddent ddeg, unarddeg, neu ddeuddeg punnoedd,

y gweddill i'w galluogi i fyned gyda gweddeuau, gan y rhaid i drysorfeydd y Cwmpeini gael eu defnyddio i gynnorthwyo y *rhai hyny ag ydynt wedi profi eu hunain yn deilwng drwy hir-barhad ffyddlondeb yn yr Eglwys, pa un a allant godi peth meddiannau neu beidio. Rhaid iddynt gael eu cludo cyhyd ag y parha meddiannau y Cwmpeini, nid oes wahaniaeth pa un a feddant chwe' cheiniog yn y byd ai peidio.*

Y flwyddyn ddiweddaf, er mwyn cyfarfod â theimladau y Saint, ac i'w cynnorthwyo i groesi y môr gyda'u ffryndiau a'u perthynasau, anfonasom ymfudwyr y Drysorfa gydag ereill ar yr un llong, eithr deallasom drwy brofiad fod y drafferth a'r anfanteision a gyfodasant drwy hyny yn gorbwyso y manteision. Am hyny fe â ymfudwyr y Drysorfa Ym. Barhaus yn gwmnïoedd wrthynt eu hunain oddiyma hyd y Frontier.

Dychwelir enwau y personau a erchir allan gan Lywydd Cwmpeini y D. Y. Barhaus, ac a wrthodant fyned, iddo yn flynyddol, ynghyd a'u rhesymau paham Gan fod y trysorfeydd yn ol y cyrhaeddo y cyfryw resymau yno yn agored i gael eu cymhwyso fel arall, nid ydym yn teimlo ein bod wedi ein hawdurdodi drachefn i fudo y gwrthodwyr, oddieithr y gorchymynir am danynt eilwaith.

---

Y Tlodion.—Mae y tymmor o'r flwyddyn wedi dyfod yn awr pan yr ymwasga newyn ac anghen yn drwm ar y tlodion. Y mae llawer o'r Saint, fel y gwyddom, mewn amgylchiadau diymgeleddus iawn, a chanddynt ddyoddef yn gydradd â'r lluoedd a'u hamgylchynant. Gofynir yn bendant i'r Bugeiliaid a'r Llywyddion edrych y fod parotoadau yn cael eu gwneuthur yn yr holl Gynnadleddau a Changenau gogyfer ag attal y Saint diwyd rhag dyoddef yn y tymmor garw hwn oddiwrth newyn ac oerni. "Eithr pwy bynag a fedda dda y byd hwn ac a welo ei frawd mewn anghen, ac a gauo ei dosturi oddiwrtho, pa fodd y triga cariad Duw ynddo?" Cyfraned y Saint a feddant i'r rhai ni feddant, a chofiant fod yr hwn a roddo i'r tlawd yn rhoddi benthyg i'r Arglwydd, yr hwn mewn amser prydlawn a'i had-dala â chynnydd.

---

Hwyliad.—Hwyliodd y Llong "John J. Boyd" ar y 10fed o'r mis diweddaf tuag at Gaerefrog Newydd, yn llwythog o

512 o eneidiau o'r Saint, o ba rai yr oedd 439 o Denmark, Sweden, a Norway, 30 o Piedmont, a 43 o Brydain Fawr.

Prisoedd y cludiad ar yr "Emerald Isle" a'r "John J. Boyd" oeddynt £4 5s i rai mewn oedran, £3 5s i blant, a 10s i fabanod. Oedran y gwahaniaethad rhwng rhai mewn oedran â phlant yw 8 mlynedd, yn lle 14 fel o'r blaen. Meddylir na fydd y gwahaniaeth oddiwrth y prisoedd uchod yn llawer iawn, er y fod hyn o anghenrhaid yn dibynu gyda pha barodrwydd y ceir llongau, ynghyd ag amldra neu anamldra yr ymfudwyr. Gwell yw i bersonau anfon i fyny eu henwau, oedran, &c., gyda'u blaen-dâl o £1 yr un, yn union ar eu penderfyniad i fyned i'r Taleithiau, hyd y nod pe na ddewisent fyned gyda y llong gyntaf. Gwna hyn ni yn alluocach i drefnu â llongau ar yr amseroedd mwyaf cyfleus i'r ymfudwyr. Anfonwn allan lwyth llong arall tua diwedd Ionawr os cawn ddigon o ymgeiswyr am gludiad i ffurfio cwmpeini.

---

Hysbysiad.—Y mae o bwys i bawb a fwriadant groesi y plains y tymmor nesaf gyda y dull pwyllog arferol o weddeuau ychain, ac a ddymunant i ni sicrhau aniteiliaid a wageni iddynt, fel y byddont yn barod ar eu cyrhaeddiad i'r Frontier, anfon yr arian i ni yn ddioed wedi y penderfynont fod eu heisieu arnynt, fel y byddont yn barod i'w sicrhau yn brydlon trwy ein goruchwylwyr yno.

Y pris a amcanwn arno fydd y swm a ofynwyd y llynedd —£55 am wagen dda yn gyflawn (oddieithr y defnydd tô), dwy iau o ychain, ac efallai buwch neu ddwy. Yr oll i gael eu cyflwyno yn y cychwan-fan ar lan ye afon Missouri.

---

Cyrhaeddodd yr Henuriaid Asa Calkins, Joseph S. Scoffield, a James Lavender, gyda'r agerdd-long "Pacific," ar ddydd Sul y 9fed o'r mis blaenorol. Mae y brodyr mewn iechyd da ac ysbryd rhagorol, a chroesawwn hwynt o'n calon i'r rhan hon o'r ddaear, i lafurio am ysbaid yn ymgasgliad Israel. Bydd i'r Henuriad Calkins ymwneyd â busnes y Swyddfa. Rhoddir appwyntiadau y brodyr ereill yn y *Star* nesaf.

---

Cydau i Ymfudwyr.—Mewn atebiad i amrywiol ymholiadau am gydau pwrpasol i'r daith yn lle cistiau, hysbyswn y

gellir cael cydau cyfleus o ran maintioli a gwneuthuriad, wedi eu gwneyd i gadw dwfr allan, am o 3s 6c hyd 4s 6c, drwy anfon i'r Swyddfa hon.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

*Taliadau at Ddyled Cynnadledd Orllewinol Morganwg o Rhag. 13 hyd Ion. 2.—(Yr Addewidion Cyntaf.)*

| | £ | s. | d. | | £ | s. | d |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| David Lewis, Abertawy .... | 1 | 0 | 0 | J. Paliphant, etto .......... | 0 | 3 | 0 |
| Rebecca Knight, etto ...... | 0 | 2 | 6 | | | | |

*Yr ail addewidion.*

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| John Perkins, Treforris .... | 0 | 5 | 0 | Mary J. Cutliffe, Abertawy.. | 0 | 2 | 6 |
| John Evans, Treboeth,...... | 0 | 5 | 0 | Thomas Fisher, etto........ | 0 | 3 | 0 |
| Mary Evans, ei wraig ...... | 0 | 5 | 0 | Enoch Lewis, Treboeth .... | 0 | 2 | 6 |
| Thomas Davies, Ystrad .... | 0 | 2 | 6 | Jane Lewis, ei wraig ...... | 0 | 2 | 6 |
| Elizabeth Davies, ei wraig.. | 0 | 2 | 6 | | | | |
| Joseph Jones, Ystrad ...... | 0 | 2 | 6 | Cyfanswm........ | 3 | 1 | 0 |
| Ann Jones, ei wraig........ | 0 | 2 | 6 | | | | |

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O RHAG. 18 HYD ION. 1.—Thos. D. Evans, £3; Benj. Jones, £6; E. Middleton, £20 4s 2c; G. Roberts, £5 19s; Wm. Lewis, £10 14s; H. Roberts, £3 5s 7c; John Davies, £2 13s 1½c; Thomas Morgan, £4; Lewis Davies, £4 4s; George W. Davies, £54 14s 4c; Evan S. Morgans £1 11s 5c.

☞ Megys ag y dengys ysgogiad y borfa ar y *prairies* gwrs yr awel, yr arddanghosir ysgogiadau Llywyddion Cynnadleddau tua Seion, yn eu hymdrechiadau i dalu eu dyledion am lyfrau,—"Wrth eu ffrwythau yr adnabyddir hwynt" yn hyn hefyd.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD. TUD



---


ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 2.] IONAWR 19, 1856. [CYF. IX.

## TRYDYDD EPISTOL CYFFREDINOL AR DDEG LLYWYDDIAETH EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF, AT Y SAINT YN NYFFRYNOEDD Y MYNYDDOEDD, A'R RHAI GWASGAREDIG AR LED Y DDAEAR,—

YN ANNERCH:—

ANWYL FRODYR,—Dan fendithion Rhagluniaeth oruwch-lywyddol, trugareddau tirion yr hon sydd sydd dros ei holl weithredoedd Ef, caniateir i ni etto i ysgrifenu atoch ynghylch materion a phethau a berthynant i Deyrnas ein Duw.

Y mae genym destunau digonol o ddiolchgarwch a mawl i'n Tad yn y Nef, yr hwn a'n hamddiffynodd rhag gallu y gwrthwynebwr a chynlluniau a dyfeisiadau dynion annuwiol, am yr yspaid y gadawodd i'r Saint ddilyn rhediad cysson eu llwybr heb aflonyddwch na rhwystr o dramor, tra y teyrnasodd heddwch yn benaf yn holl ddyffrynoedd y mynyddoedd.

Yn Mai diweddaf, yn nghwmni rhai o'n brodyr, ymwelasom â'r sefydliadau deheuol, gan gynghori ac hyfforddi y bobl, yn mhlith pa rai y mae yn dda genym gredu y fod ysbryd boddlongar yn gyffredinol, a dymuniad i weithredu yn iawn yn ffynu yn helaeth, ac er i ni eu cael hwynt a'u cnydau wedi cael eu dyfetha yn llwyr braidd gan hafog ceiliogod y rhedyn, yr hyn a wnaeth eu hymdrechiadau caledion a llafur eu dwylaw yn ddiffrwyth, etto ni chawsom rwgnach, dim galaru nac achwyn,

eithr yn hytrach ymddibyniaeth gadarn a phenderfynol ar Arglwydd y lluoedd, a'u hymdrechiadau parhaus eu hunain am luniaeth.

Er fod y cnydau wedi cael eu torri ymaith mor gyffredinol mor ddiweddar ag o'r laf hyd y 10fed, neu y 15fed o Feb., ac er i'r ychydig weddill ddyoddef llawer oddiwrth y sychder, etto mae y cnydau diweddar o ŷd a gwyrdd-lysieu, a'r gwenith diweddar wedi addfedu mewn cyflawnder digonol, hyderir, i ddiwallu anghenrheidiau y werin hyd gynhauaf arall; er hyny y mae yn debyg y bydd prinder o wenith. Mae coed ffrwythau o bob math wedi ffrwytho mewn cyflawnder, er iddynt hwyth-au ddyoddef oddiwrth hafog ceiliogod y rhedyn ac effeithiau y sychder.

Frodyr, y mae yr Arglwydd wedi cyffwrdd â ni yn ysgafn; addysger chwi gan y cerydd ysgafn hwn, telwch sylw i sibrwd yr Ysbryd, ac na themtiwch yr Arglwydd i ddwyn trymach gwialen ddysgyblaethol arnom, fel y diangom yn ddiogelach rhag y barnau hyny o eiddo Brenin y nefoedd oruchel ag ydynt yn awr ar led y ddaear, ac yn cael eu tywallt ar blant dynion.

Pan y corona llawnder etto eich hymdrechiadau, gwerthfawr-oger digon ar fendithion y Nef, i achosi i chwi eu hiawn ddef-nyddio, a gofalu am danynt a'u cadw.

Mae yr Indiaid yn ein sefydliau wedi bod ar y cyffredin yn gyfeillgar; ac er yr ymddengys argoelion o elynolrwydd yn achlysurol, etto y mae genym y boddlonrwydd o gredu y fod argraff da wedi cael ei wneuthur arnynt, ac nad yw yr amser yn mhell pan y gallwn ymddibynu yn ddiogelach ar eu tuedd-iad heddychlawn tuag at y bobl wynion.

Po fwyaf y sylwn ar effeithiau yr ymddygiad heddychlawn a arferasom ni, ac a geisiasom gael gan ein brodyr i'w harferyd tuag atynt, po fwyaf ein hargyhoeddir o'i fod yr un iawn, a'r cyfryw a ystyrir yn oreu er eu lleshad a'u hiachawdwriaeth hwy a ninnau. Heblaw ei fod y rhataf, y mae lawer yn hawdd-ach, a chrëa well dylanwad drwy eu porthi a'u dilladu nâ thrwy ryfela i'w herbyn.

Bydddwch drugarog ynte, ac yn amyneddgar gyda phlant tlodion, isel ac anwybodus y mynyddau a'r gwastadedd. Hwynt-hwy ydynt hâd Abraham, i ba rai y perthyna yr add-

ew

cwidion; ceisiwch eu goleuo a'u dwyn yn ol i wybodaeth o Arglwydd Dduw eu tadau; cofiwch mai Efe yw eu Duw heddyw yn ogystal ag yn y cyn amser, a'i fod yn sylwi gyda chymmaint dyddordeb ar symudiadau plant Israel yn awr a phan y rhoddodd yr addysgiadau iddynt oddiar ben mynydd Sinai, Teml Solomon, neu ddaear waedlyd ruddiog pen Calfaria.

Mae amser yr adferiad etto yn nesau, gan hyny byddwch ddiwyd a dyfal tra y mai hi etto yn ddydd, tra y mae cyfleustra i estyn cynnorthwy iddynt, a gwneuthur cymmwynas â hwynt, fel y clywoch y geiriau cymmeradwy—"Yn gymmaint ag i chwi ei wneuthur i'r un lleiaf o'r rhai hyn, fy mrodyr, chwi a'i gwnaethoch i mi."

Tra yr ymdrechwyd ac yr ymdrechir i argyhoeddi y paganiaid mewn cenedloedd pellenig ac ar ynysoedd y môr, y mae genym bobl yn ein mhyeg ag ydynt mor deilwng a deallus, yr un mor addas i, ac yn mhob ffordd yn meddu cymmaint hawlfraint o dderbyn yr Efengyl, am hyny estyner geiriau bywyd ac iachawdwriaeth iddynt. Cenaden hedd a elont i'w dysgu yn nghelfyddydau bywyd gwareiddiedig,—i blanu ac hau, i fedi a thorri, i fagu anifeiliaid, i adeiladu tai, ac i wneuthur ffermydd, a gadael eu harferion drygionus a niweidiol, eu crwydriadau a'u hymgyrchiadau helwriaethawg anfuddiol ac anrheithiol.

Dylanwadwch arnynt i ennill bywioliaeth heb ymddibynu ar hela, canys ni ddiwalla hwynt ond yn brin ac anghysson â lluniaeth; rhoddwch iddynt eich ffydd a'ch gweddiau yn ogystal a'ch gweithredoedd; tywelltwch ysbryd heddwch a gwirionedd tragywyddol i'w mheddyliau, llygaid pa rai a agorir drwy hyny i wybodaeth o'r Arglwydd eu Duw, ac o Iesu Grist yr hwn a anfonodd Efe.

Ar yr un pryd, frodyr, gwyliwch eich hunain rhag eu bradwriaeth a'u ffyrnigrwydd gwyllt, rhag eu drygau gwrthun ac isel, a cheisiwch eu cyfodi yn sefyllfa bodoliaeth yn gydradd â chwychwi eich hunain, eithr na ddarostyngwch byth i'w heiddo hwy, fel y gwneir yn rhy aml gan y bobl wynion. Dangoswch iddynt mai eu huwchafiaid ydych drwy eich gweithredoedd a'ch hymddygiadau rhagorach a mwy rhinweddol, ac nad ydych unol a hwy mewn dybenion hunanol a phechadurus. Golygfa foddhäol yw gweled cynnifer o blant y Lamaniaid yn

nheuluoedd y Saint, lle y meddant yr un cyfleusderau a breint-iau a'r plant gwỳnion, ac hyderwn y canlyna daioni mawr drwy hyn i'r genedl sydd yn cyfodi.

Ar yr ail ddydd o Fedi cyfarfyddodd yr Utahs a'r Shoshones yn y ddinas hon, a gwnaethant heddwch, am yr hwn y gob-eithir y bydd yn sefydlog, ac y bydd o leshad parhaus i bob plaid berthynol,—y bobl wỳnion yn gynnwysedig.

Yn agos i fynyddau yr Elk, ac ar yr ochr chwith i'r afon Grand, lladdodd yr Indiaid ryw dri o ddynion, a rhyw ugain pen o anifeiliaid, a gyrasant y sefydlwyr ymaith, daethant i Manti, ac y mae yn debyg na ddychwelant yr Hydref hwn, er iddynt adael yn agos bob peth a feddent yn meddiant yr Ind-iaid. Heblaw yr eithriad yma, ni fu yr un gwir derfysg yn ystod y tymmor, er y rhoddwyd rhai arddangosiadau gel-yniaethus, a bygythiadau, yr achos o ba rai sydd hyd yn hyn heb ei wybod. Hyderwn yr eglurir pob materion yn foddhäol cyn hir, ac yr adferir pob cyssylltiadau cyfeillgar, fel y gallo y sefydlwyr ddychwelyd i'w sefydliadau yn y gwanwyn dyfodol.

Cyssegrwyd y cynnysgaeth-dŷ yn y ddinas hon ar y 5med o Fai diweddaf, a derbyniodd yr enw o "Dy yr Arglwydd." Oddiar hyny rhoddwyd cynnysgaethiadau yn gysson, ac yr ydys yn parhau i'w rhoddi o hyd, yn benaf dan gyfarwyddyd y Llywydd Heber C. Kimball.

Y mae tŷ a swyddfa Hanesydd yr Eglwys wedi cael ei adeil-adu, ac yn cael ei gwblhau yn awr.

Mae maintioli anferth o feini wedi ei osod yn sylfaen y Deml yr hon sydd wedi ei chwblhau yn barod i'r llofft isaf; eithr o ddiffyg meini, mae y gwaith oddiar y cyntaf o Awst wedi bod ac o hyd yn sefyll. Gorfodwyd o ddiffyg porfa yn nghylchoedd y chwarelau a'r ddinas i ollwng y gweddenau a gludasant feini i fyned lle ei caffent.

Hyderwn y rhagflaenwn rwystr o'r fath yn y dyfodol drwy fanteisio ein hunain â chamlas Big Cottonwood, yr hwn a ddysgwylir i fod yn barod i waith tua'r 1af o Fai nesaf, ac ar hyd yr hwn y bwriadwn gludo y gwenithfeini er adeiladu y gweddill o'r Deml.

Gosodwyd *Foundry* ar waith, â'r hon y gwnaethpwyd nwydd-au rhagorol, gan amlaf er gwneuthur peiriannau ac offerynau

celfyddydol. Hwyluswyd llawer ar eu gweithrediadau drwy ddefnyddio glô carreg, gwythienau mawrion a gwerthfawr o'r hwn a ddarganfyddwyd ar amser cynnar o'r tymmor, yn nyffryn San Pete yn agos i Fort Ephraim, ac y mae cryn lawer o hono wedi ei ddwyn i'r ddinas hon, eithr y mae yn rhy bell i'w gael er defnydd cyffredinol.

Drwy y manteision a geir yn y Brif Swyddfa beiriannol, gwnaethpwyd offerynau, cyllill defnyddiol, hefyd cloion a a llawer o nwyddau ereill er defnydd cyffredin. Gwneir llawer mwy o frethyn yn yr amrywiol sefydliadau yn awr nag a wnaed o'r blaen, hefyd lledr, hetiau, rheffynau, brwsiau, sebon, papyr, cribau. llestri, haiarn, ac y mae llawer o nwyddau cartrefol ereill yn cael eu gwneuthur o'r elfenau amgylchynol mewn cyflawnder addawol.

Y mae llawer o adeiladau da wedi cael eu hadeiladu yn ystod y tymmor, yn mhlith pa rai y gallwn enwi y Senedd-dŷ, tŷ y gwarcheidwad yn y Carchar-dŷ, a chwblhad rhan ddeheuol y Senedd-dy yn Fillmore, heblaw gwelliadau helaeth a chynnyddol mewn gwlad a thref. Y mae llawer o felinau ac amrywiol fathau ereill o beiriannau wedi cael eu gosod ar waith yn llwyddiannus.

Mae dwndwr gwareiddiwch yn cynhyrfu tawelwch oesol yr anian-leoedd hyn, tra o fryn a dôl yr adleisia cân y bwyellydd cynghanedd clychau a brefiad praidd y bugail, mil adsain gwaith yr amaethwr a'r celfyddydwr ar bob llaw, ac yr ymgymysga y melinau dadwrddus eu sŵn â chroch ruad y ffrydiau cyflym a ruthrant dros ddanedd anferth greigiau, encilia yr Indiad i'w loches yn mherthi y mynyddoedd, neu i fysg *sage* y gwastadedd anial. Felly, lle na chlywid er's ychydig flynyddau yn ol ond rhuad cyfarthiad y blaidd, y wyllt fonllef ryfelawg, neu grugleisiad y gigfrân, clywwn yn awr aml gongl a chilfach yn adseinio nodweddiadau gwareidd-dra, a gwelwn hwynt yn amgylchynedig â phob phob cyfoeth sydd gymhwysiadol i artref y dyn gwŷn.

Mewn llawer o wledydd, ac yn mhlith dyeithriaid, teithiasom lawer milltir flin, heb bwrs nac ysgrepan yn ddirwgnach, i bregethu efengyl yr iachawdwriaeth i'r bobl, ac ni allem braidd gael cysgod lettygar dros noswaith, ond yma gallwn deithio ar hyd a lled y wlad heb gyfarfod nemawr byth â neb ond Saint, y

rhai a ddaethant allan o'r byd i wasanaethu yr Arglwydd, cadw ei ddeddfau, a gwneuthur ei orchymynion.

Y mae cynnorthwy y Drysorfa Y. Barhaus wedi cael ei estyn y flwyddyn yma i ryw 1300 o bersonau. yn agos i chwarter y nifer yr ymfudwyr y tymmor hwn. Y mae gwneuthur hyn, drwy yr amseroedd tlawd yn y Cynnadleddau Seisnig, a mawr brinder arian yn nhref, wedi cynnyg at ein suddo rhywfaint mewn dyled.

Y mae amryw o'r brodyr yma wedi anfon am eu ffryndiau drwy gynnorthwy Cwmpeini y D. Y. Barhaus, ac y maent wedi cyrhaedd neu ar eu ffordd tuag yma; y mae dros 600 o ymfudwyr eleni o'r dosparth yna. Yn awr, bydded i'r brodyr a anfonasant felly ein cynnorthwyo i dalu y dyledion a dynasom o'u herwydd, a thalu eu hymrwymiadau i'r Drysorfa.

Bydded i'r rhai a deimlant ddyddordeb yn ngwaith yr ymgasgliad fod yn haelionus yn eu cyfraniadau, ac yn ddioedi yn talu yr hyn sydd ddyledus arnynt, fel y cynnelir y Drysorfa, ac na chwtoger ein gweithrediadau y flwyddyn nesaf drwy ddiffyg moddion.

Mawr yw cri ein brodyr tlodion mewn gwledydd pellenig am waredigaeth; llaw y gormesydd sydd drwm arnynt, ac nid oes golwg yn y byd ganddynt am gynnorthwy o un man arall. Y mae amryw o honynt wedi bod yn hir yn yr Eglwys, ac wedi parhau yn ffyddlon yn mhob peth, gan gyflawni eu dyledswyddau yn mhob cylch. Ai troi clust fyddar a wnawn i'w deisyfiadau, a'u gadael i oedi ynghanol Babilon ddrygionus, yn mha le, yn mhob blwyddyn ddilynol eu gofidir â phoenedigaethau a rhyfeloedd cenedloedd yn fwy-fwy o hyd, ac felly yn parhau i dueddu at gau y ffordd yn hollol a gwneuthur eu harosiad hirach yn y gwledydd hyn yn fwy truenus a gormesol nag erioed.

Ateber y gofyniad yma gan eich gweithredoedd, canys y ffordd yma y gorfodir ni i'w cymmeryd, ac oddieithr i ni gael cynnorthwy, naill ai drwy gyfraniadau neu drwy daliad yr hyn sydd ddyledus i'r Cwmpeini, gorfodir ni i oedi peth ar ein gweithrediadau yn y flwyddyn ddyfodol. Yr ydym eisoes wedi estyn cynnorthwy i'r eithafion pellaf, ac wedi braidd a traflyngc pob moddion cyrhaeddadwy o eiddo yr eglwys i roddi cynnorthwy yn y peth yma, hyderwn, gan hyny y gwneir hyn y

fater o ystyriaeth ddwys a gweithrediad buan a rheolaidd, canys teilwng yw o'ch haelioni mwyaf. Y mae wedi hir gadw ein sylw ni a'r Henuriaid cenadiaethol pellenig arno, ac wedi bod yn destun ein gweddiau a'n cyfrinach yn yr amser mynedol, a chymhella ei hun i sylw pawb Saint fel yr unig agoriad effeithiol yn bresennol i ddrws iachawdwriaeth dymmorol i'r rhai hollol amddifaid.

Y mae gan filoedd ar filoedd o'r ymfudwyr a heidiant i ororau yr Americ, er nad ydynt o'r dosparth cyfoethocaf, fodd i fyw hyd oni ddechreuont ddilyn rhyw alwedigaeth ennillfawr. Eithr amcenir i'r D. Y. Barhaus waredu y tlawd gonest, y cardotyn os mynwch, o gaethiwed oesau, o fanau lle y mae tlodi yn drosedd a chardota yn dorriad y gyfraith, lle y mae pob cyfleusdra i godi yn nghyraeddiadau bodoliaeth i unrhyw radd o fywoliaeth foneddigaidd a dedwydd wedi ei golli am byth, a'u gosod mewn lle ag y derbynia llafur gonest a diwydrwydd wobrwy gydweddol, lle y mae ymgyrchiadau uchaf bywyd yn agored i'r mwyaf gostyngedig a thlawd, a lle y gosodant sylfaen er cylymu eu hunain a'u plant yn annatodadwy yn nghyraeddiadau cynnyddol bodolddeb dynoliaeth, "tra bydd tragywyddoldeb yn dyfod a thragywyddoldeb yn myned."

Hyn sydd yn wir gariad, ac yn gyfryw a ddylai gael ymdrechiadau pob gwlad garwr, nid yn unig i borthi y newynog a dilladu y noeth, eithr eu gosod mewn sefyllfa lle y gallant gynnyrchu eu lluniaeth drwy eu llafur eu hunain.

Ni rodda y byd yn bresennol le sydd mor gymhwys â hwn er ymarferyd y fath haelioni, man mor addas i'r tlodlion i ymgartrefu, gwlad mor ofynol o'u llafur er dwyn yn ddefnyddiol ei chynnyrchiadau anweledig, llywodraeth lle y gofyna sefydliad ymgystadliad yr isel yn ogystal â'r uchel, y tlawd yn ogystal â'r cyfoethog, na lle y mae gonestrwydd, medrusrwydd a theilyngdod, yn lle teitlau, âch, palas a chyfoeth, wedi palmentu y ffordd cyn amled a chyn sicred i anrhydedd a dylanwad.

Y mae genym i alaru dros golled amryw o'r ffyddloniaid a syrthiasant yn ysglyfaeth i allu y dinystrydd a'r haint, o ba rai y nodwn y brodyr W. W. Major a John Perry o'r genadiaeth Seesonaeg. Andrew L. Lamoreaux o'r Ffrengaeg, James F. Bell o'r Italaidd, a'i briod, a Jacob F. Secrist o'r Swisaidd.

Tra y galarwn eu colled, ac y cydymdeimlwn yn ddwys a'u

teuluoedd a'u cyfeillion amddifaid, llawenhawn am eu bod pan y syrthiasant yn ngwasanaeth eu Prynwr, ac yn ymwneyd â lledaeniad ei achos Ef ar y ddaear. Hyderwn gan hyny iddynt gael eu cymmeryd i ddyben doeth, ac y derbyniant gymmeradwyaeth Barnwr yr holl ddaear yn nydd y cyfrif a'r taledigaeth.

Y mae yr Henuriaid Lyman a Rich o hyd yn Nghalifornia, yn llafurio yn San Bernardino a llefydd ereill yn y dalaeth hono; mae yr Henuriad Orson Hyde yn Swydd Carson, Tiriogaeth Utah, lle y mae efe wedi sefydlu Cangen o'r Eglwys. Yr Henuriad John Taylor sydd yn New York, yn llywyddu, ac yn golygu y "Mormon." Yr Henuriad F. D. Richards sydd yn Liverpool yn llywyddu dros y Genadiaeth Ewropaidd, ac yn golygu a chyhoeddi "*Y Star.*" Yr Henuriad G. A. Smith sydd o hyd yn llanw y swydd o Hanesydd a Chofnodydd Cyffredinol yr Eglwys, ac yn nghyswllt a'r gweddill o'r Deuddeg Apostol. Mae Llywyddion y Degau a Thrugeiniau ac ereill yn llafurio yn amrywiol Sefydliadau Utah, ac yn cael eu hanfon o bryd i bryd yn ol fel y byddo dyledswyddau yn gofyn. Yr Henuriad Orson Spencer sydd yn golygu a chyhoeddi y "St. Louis Luminary" yn St. Louis, Mo., ac y mae George Q. Cannon yn cyhoeddi Llyfr Mormon yr yr iaith Hawaiaidd yn San Francisco, California, lle y bwriada gyhoeddi papyr hefyd. Yr Henuriad Dan Jones sydd yn cyhoeddi UDGORN SEION yn Abertawy, Deheudir Cymru; John Van Cott y "*Scandinavian Star*" yn Copenhagen, ac Angustus Farnham y "*Zion's Watchman*" yn Awstralia.

Mae Cenadon yr India Ddwyreiniol wedi. ac yn dychwelyd yma, yn ol pregethu yr Efengyl yn ffyddlon am o ddwy i bum mlynedd, yn y wlad baganaidd hono heb ond ychydig o lwyddiant yn ymddangosiadol.

Mae y gwaith yn llwyddo o hyd yn Awstralia, Ynysoedd Sandwich, California, yr Ynysoedd Prydeinig, Denmark, Sweden, Gogledd Itali, Switserland, Frainc, y Tiriogaethau Brytanaidd, ac mewn llawer rhan o'r Unol Daleithiau. Yn Cape Town, Deheudir Affrica, y mae hefyd Gangen gyflawn o'r Eglwys.

Gadawodd gwmni o Saint Sydney, Awstralia, gyda bwriad i gasglu i San Bernardino a'r lle hwn, eithr nid oes ond ychydig

wedi cyrhaedd ein goror gorllewinol etto, drwy i'r llestr orfod troi i mewn i Honolulu mewn cyfyngder, lle ei collfarnwyd, ac felly siomwyd hwynt yn eu dysgwyliad am gyrhaedd yn fuan i'n trigfanau heddychlawn.

Dyma y cynnyg cyntaf a wnaethpwyd i gasglu y Saint o Awstralia, a gobeithiwn y terfyna yn llwyddiannus, canys y mae amrywiol ereill yn y parthau hyny a ddymunant yn fawr i gyd-ymgasglu â'r Saint yn y dyffrynoedd hyn, eithr nis gallant hyd yn hyn gael llestr i'w cludo, gan nad oes ond ychydig forio a masnachu rhwng ein goror gorllewinol â'r wlad hono.

*(Yn parhau yn tud. 28.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, IONAWR 19, 1856.

Cylchrediad yr "Udgorn."—Penderfynodd y mwyrif o Lywyddion y Cynnadleddau mewn Cynghor a fu yn ddiweddar mai doethach dechreu y gyfrol bresennol gyda yn agos i'r un rhif â'r gyfrol olaf, o herwydd yr ystyriaethau a ganlyn:—

1af.—Na fydd nemawr ddim arall yn cael ei gyhoeddi yn Gymraeg.

2il.—Fod y "*Route*' i'r Llyn Halen, a'r "*Luminary*" braidd wedi eu diweddu, heb obaith y daw nemawr arall yn eu lle ar a wyddys.

3ydd.—Bydd llawer a ddysgwyliant yn awr y gallant ymfudo yn cyfnewid eu mheddyliau, ac yn awyddus am yr Udgorn.

4ydd.—Y gall yr ymfudwyr i'r Taleithiau dalu yn mlaen am y gweddill a fydd o'r gyfrol ar ol eu hymfudiad, a'u cael ar eu hol i'r Taleithiau.

5med.—O herwydd y dysgwylir lluoedd o'r byd i'r Eglwys ar ol yr ymfudiad ag a fyddant yn dda ganddynt ei gael.

6fed.—Am y dylai ymfudwyr i Seion fynu cael derbynwyr yn eu lle cyn yr elont, i'r *hyn ni all un fod yn analluog* os dewisa wneuthur ei ddyledswydd.

7fed.—O herwydd, os lleiheir ei gylchrediad y byddai raid codi ei bris.

8fed.—O herwydd, mai ar yr ammod o gymmeryd dau rifyn y gostyngwyd ei bris i *geiniog*; a barnodd y Llywyddion mai gwell fyddai gan eu Saint hwy gael *dau* am ddwy geiniog nâ thalu dwy geiniog am *un* rhifyn, ac mai gwell gan y sawl a fedd ronyn o ysbryd Seion dalu nad faint a gostia, nâ bod yn amddifad o'r newyddion a'r ddysgeidiaeth anmhrisadwy a ddel oddiyno drwyddo!

9fed.—O herwydd os na ellir gwneuthur defnydd o'r cyfan ar yr ystyriaethau hyn, ac os anfonir i'r Swyddfa ar amser yr ymfudiad, lleihir eu rhif yr hyn a effeithia yr ymfudiad ar y cylchrediad. Y sawl na wel y lleshâd o'r amcan, ac na foddlonir drwy yr ychydig resymau yna i ddechreu, gofyned, a chaiff naw neu ddeg ereill atynt!

---

Cludo Llyfrau.—*Pa fodd y cludwn ein llyfrau gyda y ddau-olfenni?* gofynir yn fynych. Atebwn, y gellir naill ai gadael y llyfrau gyda Llywydd y Gynnadledd, neu rywun arall a ddewiser: eu cludo hyd y gwersyll, a'u gadael yn y Swyddfa yno hyd nes y gellir anfon am danynt gyda y wageni y tymmor nesaf, neu ffordd arall, gall y sawl a fedd fodd logi eu cludiad am tua phump ceiniog y pwys dros y plains gyda y sawl a elont â wageni. Wele ddewis o dair ffordd. eithr er dim ni chaiff na thlodi nac un achos arall ein lluddias ni i fwynhau ein llyfrau yn Seion.

---

Newyddion o Utah.—Lloffwn a ganlyn o'r "Deseret News" am Hydref, newydd gyrhaedd i law Parhaodd y tywydd yn hyfryd hyd Hydref: mwynheid iechyd da yn gyffredinol drwy y sefydliadau; difrododd y ceiliogod y rhedyn, &c., y llafur gan mwyaf mewn rhai dyffrynoedd, oll braidd mewn ereill, tra yr arbedwyd ereill yn dda, fel, ar y cyfan, dywedir y bydd digon o ymborth gyda chynnildeb yn Utah hyd y cynhauaf nesaf, er mai prif ymddybyniaeth llawer fydd y cnydau diweddar o gloron, yd yr India, erfin, melons, &c. Cnydiodd y coedydd eu

ffrwythau yn rhagorol o dda; cesglir sylwedd nid annhebyg i'r manna a wlawid i'r Israeliaid oddiar ddail y coed a'r llysieu, oddiar y creigiau a'r glaswellt, o'r hwn gwneir llawnder mawr o siwgr, a'r hyn a wna i fyny i raddau ddiffygiadau y llafur. Er hyn oll ni chlywir na grwgnach na digalondid yn mhlith y Saint, eithr mae eu hymddibyniad ar drugaredd Duw, a'u gobeithion am y dyfodol i'w ganfod yn amlwg yn eu hymdrechiadau diflino i adeiladu y Deml, yr adeiladau cyhoeddus a'r amddiffyniadau.

Drwg genym hysbysu fod rhai dihirod o blith yr Indiaid yn awr ac eilwaith yn aflonyddu rhai o'r sefydliadau pellenig, yn lladrata rhai o'u hanifeiliaid, a lladdasant dri o'r brodyr yn y sefydliad newydd a wnaethpwyd yn mynyddoedd yr Elk, ffôdd y gweddill o'r brodyr am eu heinioes, gan adael eu hanifeiliaid a'u nhwyfau yn yspail yn meddiant yr Indiaid. Mae y Llywydd Young wedi anfon milwyr i amddiffyn y sefydliad a fygythid. Cyrhaeddasai holl wersylloedd yr ymfudwyr ben eu taith yn llwyddiannus. Dychwelodd y cenadon o'r India ddwyreiniol ac Awstralia, ynghyd a phrif awdurdodau Dyffryn Carson yn ddiangol hefyd, y Dirprwywyr a aethant i sefydlu cyffiniau gogleddol y Diriogaeth.

Mae sefydliad newydd y Los Vegas yn bur llwyddiannus yn yn mhob peth a geisiant wneuthur, cawsant gryn wlaw a fu o fawr fendith a chymhorth i'w cnydau.

Canmola newyddiaduron California sefydliad y Saint yn San Bernardino yn fawr, a chyfaddefant fod diwydrwydd, moesoldeb a rhinweddau eu cymmydogion Mormonaidd yno yn eglur wrthbrofi y mil camgyhuddiadau maleisddrwg a daenir arnynt. Maent wedi cynnyrchu y rhywogaeth oreu o gottwm yn Santa Clara, yr hwn a fydd o fawr les i'r Diriogaeth.

Drwy lythyr cysurlawn oddiwrth ei "hanner oreu," yr hon a enfyn ei chofion caredig i'w chyd-genedl, dealla y Gol. fod trigolion Sanpete yn mwynhau iechyd cyffredinol; fod yr Indiaid yn heddychol, ac er na thyfodd braidd fesur o wenith yno fod y llysieu, &c., yn diwallu y trigolion. Dealla newydd da arall, sef yw, fod y gwenith a hauasid y llynedd yn dda yn y tir, ac y gwnaiff yn hâd am eleni drwy ei ddwfrhau yn brydlon; gwerthfawr yw hyn pan y mae y fath brinder hâd. Cawsant allan ddefnydd rhagorol i wneuthur clychau yn ddiweddar.

Cynnaliwyd Cymmanfa yn Ninas y Llyn Halen Mawr ar y 6fed, 7fed, a'r 8fed o Hydref, lle y mwynhawyd undeb ac ysbryd rhagorol, gwnawn le yn ein rhifyn nesaf i rai o'r pethau dyddorol a fu dan sylw; hyd hyny myfyrier ar yr Epistol addysglawn yn y rhifyn hwn.

---

## TRYDYDD EPISTOL CYFFREDINOL AR DDEG, &c.

[Parhad o dud. 25.]

MAE y Saint yn casglu adref o blith pob iaith, pobl, a chenedl; a thra yr ydym fel yma yn cymherfeddu y fath gydymgynnulliad amlrywiaethog o bob math o bobl o braidd bob cenedl, er y tywysir ni gan un ysbryd, amcan, a dymuniad cyffredinol, y mae yn gweddu i un ac oll fod yn gymmwynasgar, caredig a thirion tuag at ein gilydd, a cheisio addysgu y bobl, fel eu cyssyllter yn fwy anwahanol mewn teimlad, hunan-les, heddwch ac undeb, yn gystal ag mewn ffydd, gwirionedd a rhwymau y cyfammod newydd a thragywyddol.

I'r perwyl yma ac i gyrhaedd yr amcan hwn yn well, y penododd y Gymmanfa ddiweddaf Henuriaid i fyned yn genadon i'r holl sefydliadau drwy Utah, fel yr ymwellhao y bobl yn eu chwaeth a'u dealltwriaeth, ac yn mhob doniau a grasusau; ymrywiogu yn eu golygiadau a'u teimladau, ymgryfhau yn eu ffydd, ac fel drwy beidio esgeuluso materion a ystyrir yn rhai bychain a dibwys bywyd gweithredol, y caffer y genedlaeth yma o Saint yn bur a santaidd, yn addfwyn ac iawnweddog yn eu trafodaeth a'u gilydd, hyd y nod yn golofnau heirdd yn ymdebygoli i balas.

Cofiwch mai gwael bethau bywyd a ffurfiant ein bodoliaeth, ac nad oes ddigwyddiadau mawrion ond yn anaml hebddynt. Nad pa mor lleied y byddont, dyledswyddau pwysig bywyd ydynt, ar ymarferiad beunyddiol o ba rai y dibyna lawer er darparu pobl erbyn dyfodiad yr Arglwydd Iesu, neu i'w haddasu i gael dyrchafiad yn nheyrnas ein Duw.

Am hyny talwch sylw i addysgiadau y rhai hyny a anfonasom i'ch plith, a darfydded pob cynnen, digasedd, ac ymryson yn eich mysg; byddwch fyw i'ch crefydd, ac amlhaed heddwch, ffydd, cariad, a gweithredoedd da.

Wrth yr Henuriaid a benodwyd ar y cenadiaethau hyn, dywedwn, "Ewch allan yn ysbryd gostyngeiddrwydd ac addfwynder, a dysgwch y bobl yn y pethau a berthynant i'w hiachawdwriaeth dymmorol yn ogystal a'r tragywyddol, ac hyd oni fyddant ar gynnydd mewn ysbryd santeiddrwydd, glanweidd-dra, trefn, a chynnildeb, egwyddorwch hwynt yn ngoleuni yr Ysbryd Glân yr hwn sydd yn tywys ac yn arwain i bob gwirionedd."

Wrth yr Henuriaid tramor, dywedwn, "Byddwch ddiwyd yn eich holl lafuriau, yn ffyddlon yn eich tystiolaeth i'r bobl, a phan y derbyniant y gwirionedd dysgwch hwynt i fyw ac ymarferyd eu crefydd santaidd." Y mae yn hawdd dyoddef erlidigaeth, amddiffyn y ffydd, ac hyd y nod farw drosti; y peth anhawddaf yw byw wrthi; cael ein tueddu yn wastadol gan ei dylanwadau santaidd, a'i hymarferyd yn holl lwybrau bywyd. Nid i'w chredu fel rhyw wael degan neu chwareu-beth, nac er ein difyru pan yr ewyllysiom, ac yna ei gosod o'r neilldu y mae hi, eithr ffaith safadwy yw a ddwg brofiad beunyddiol, a wna ymyraeth â phob math o'n mhasnach, a threiliad ein hamser, yn ogystal ag â phethau crefyddol ysbrydol y meddwl.

Mewn gair nid oes yr un gofyniad na dyledswydd arnom ar y ddaear hon ond i wasanaethu Duw, cadw ei orchymynion, casglu ei Saint, ac adeiladu ei deyrnas arni, i hyn yr ydym yn byw, a thros hyn y dysgwyliwn farw. Ond y prif anhawsder gyda y Saint yw i fyw i'w crefydd santaidd, a dilyn y llwybr hwnw a sicrhâ iddynt ei bendithion a'i breintiau, a'r cynnyddiant hyny o ffydd, dealltwriaeth ac ymwelliant a allant fwynhau.

Nid yw ond gorchwyl hawdd i ni gyssegru ac ymroddi ein hunain a'r oll a feddwn i achos y gwirionedd ac adeiladiad teyrnas Dduw ar y ddaear, eithr y mae o bwys i ni iawn osod ein hunain a'n meddiannau lle y gwnawn fwyaf o ddaioni. Y mae o bwys i ni fod yn ufudd ac yn hawdd ein trin yn nwylaw gweision Duw, ac wedi y cofleidiwn y gwirionedd, a gosod ein hunain a'r oll a feddwn ar yr allor, i aros felly yn ddisylw o gyfaill fel gelyn, tywyniad haul neu gysgod, heddwch neu ryfel, digonedd neu newyn a haint. Ein dyledswydd yw nid yn unig proffesu a bod yn gredinwyr, ond yn weithredwyr ein hiachawdwriaeth, gan barhau yn ffyddlon yn mhob peth hyd y

nod hyd y diwedd. Pan yr ymrestrwch tan faner yr efengyl, rhoddwch ddanghoseg ymadawol i'r gwrthwynebwr, ac na osodroddwch iddo loches yn eich mynwesau byth wedy'n, na osodwch eich hunain na dim a feddwch tan ei ddylanwad byth wedy'n; byddwch fyw er adeiladu teyrnas ein Duw, a bydded eich gweithredoedd yn gydweddol â'ch proffes.

Dywedwn wrth yr Henuriaid tramor yn ogystal a chartrefol, "Dyhidler yr egwyddorion hyn i'ch meddyliau, a meddyliau yr holl Saint, yn gyfrifol y byddont hwy i'r awdurdodau sydd drostynt, byw yn ostyngedig a wneloch chwi gerbron yr Arglwydd, gan ddelio yn gyfiawn a chywir, fel y trigo Ysbryd yr Arglwydd yn helaeth ynoch."

Pan y dymuna yr Henuriaid sydd ar genadiaethau tramor ddychwelyd adref, ac na fyddant wedi cael un hysbysiad ar y mater, eu hawlfraint yw ymgyfarfod, a gwneuthur y gofyniad yn destun gweddi ac ymbil gerbron yr Arglwydd, ac yna gweithredu fel y penderfynir mewn cynghor yn unol â thueddiadau yr Ysbryd Glân. Eich hawlfraint yw gwybod meddwl ac ewyllys yr Arglwydd ynghylch pethau fel yma, a thrwy ddilyn yr iawn lwybr chwi a'i cewch.

Gwneler pob peth yn weddus ac mewn trefn, ac ymgasgled pob Sant a allo y cyfleu cyntaf i Seion tra mae y ffordd yn agored; pa un a gant gynnorthwy gan y Drysorfa ai peidio; bydded iddynt ddyfod ar eu traed, gyda dauolfenni neu wilberi, gwregysu eu lwynau a cherdded trwyodd, ac ni chaiff dim eu rhwystro na'u hattal.

Mewn perthynas i ymfudiad tramor am flwyddyn etto, bydded iddynt ddilyn y ffordd ogleddol o Boston, Caerefrog Newydd, neu Philadelphia, a disgyn yn Ninas Iowa, neu yn y man y diwedda y rheilffordd ar y cyfryw amser; diwaller hwy yno â dauolfenni er cludo eu bwyd a'u dillad arnynt, yna bydded iddynt gerdded a'u llusgo, ac arbedent drwy hyny gostau dirfawr bob blwyddyn am wedd[illegible] a thacl[illegible] er croesi y gwastadedd.

Disgwyliwn y bydd i'r fath fintai deithio yn gynt nac un o ychain. Dylent gael rhyw nifer o dda llaethog er iddynt gael llaeth, ac ychydig eidionau i'w lladd a'u bwyta ar y ffordd yn ol eu hanghen. Yn y ffordd yma dileuir holl gost, perygl, a cholled gweddeuau, a'r trallod o'u herwydd, a bydd i'r Saint ddianc

yn fwy effeithiol rhag y golygfeydd cyfyng, poenus a marwolaethus sydd wedi darostwng cynnifer o'n brodyr a'n chwiorydd yn isel yn y llwch.

Bwriadwn anfon dynion ffyddiog a phrofiadol, a'r iawn addysgiadau i ryw gychwynfan addas, er gosod y cynlluniau uchod mewn gweithrediad; dealled y Saint ynte, a fwriadant ymfudo y flwyddyn ddyfodol y dysgwylir iddynt gerdded a llusgo eu llwythau yn groes i'r plains, ac na chynnorthwyir hwynt gan y Drysorfa mewn un ffordd arall.

Os gwrthgilia neb o herwydd y trefniad yna, goreu oll, canys y mae lawer yn well i rai o'r fath wadu y ffydd cyn y cychwynont, nac i wneuthur felly am ryw achos gwael wedi y cyrhaeddont yma, ac os na feddant ffydd ddigonol i anturio ar hyna o orchwyl, a'i gyflawni hefyd, nid oes ganddynt ffydd i ddyoddef gyda'r Saint yn Seion, y gyfraith nefol a arweinia i ddyrchafiad a bywydau tragywyddol.

Os unwaith y gwneir prawf teg o'r peth hwn, ac y bydd mor llwyddiannus ag y mae yn ddiammheu genym y bydd, dileir prif gost yr ymfudiad, o ganlyniad caiff chwaneg nac arferol gynnorthwy. Am hyny, Saint, a phob Henuriad dychweledig a fwriadwch ddyfod trwyodd yn gwmnïoedd, ystyriwch y mater yma, a pharotowch yn gyferbyniol.

Yn ystod y Gyurmanfa Gyffredinol sydd wedi newydd fyned heibio, cynghorwyd y bobl ieuangaidd i gael eu cynnysgaethiadau a phriodi; gan hyny hysbysem ein bod yn barod i roddi i'r Saint eu cynnysgaethiadau yn Nhy yr Arglwydd, yr hwn a adeiladwyd ac a gyssegrwyd yn benodol i'r dyben hwnw; am hyny cymmered rhieni, ymgeleddwyr, ac esgobion y mater yma yn iawn mewn llaw, a chynghorant yn rhydd gyda'r bobl ieuainc a darparant hwynt i dderbyn eu cynnysgaethiadau a'u seliadau. Ddynion ieuainc, cymmerwch i chwi eich hunain wragedd o ferched Seion, a deuwch i fyny a derbyniwch eich cynnysgaethiadau a'ch seliadau, fel y cyfodoch hâd santaidd i Dduw Adraham, hyd y nod Offeiriadaeth santaidd freiniol, a gant ei geni iddi, gan feddu hawl-fraint yn eu hallweddau, ac i weinyddu yn yr holl ordinhadau a berthynant i Dy yr Arglwydd. Gadewch eich ffolineb, a deuwch yn ddynion i Dduw; gweithredwch yn ddoeth ac yn uniawn o'i flaen Ef, a bydd i'w fendithion dewisolaf eich dilyn.

Annogwn yr holl Saint i fyw yn uniawn, i gofio cadw eu cyfammodau â Duw ac â'u gilydd, i dalu eu degwm, a gwneuthur eu cyssegriadau mewn ysbryd haelionus, a chyda phob cydwybod dda, heb ammheu dim.

Cadwch orchymynion yr Arglwydd, cadwch yr addysgiadau a'r cynghorion a dderbyniwch gan y rhai a osodwyd i lywyddu drosoch, byddwch ffyddlon a diwyd, cynnil a threfnus; edrychwch yn barhaus at yr Arglwydd am ddoethineb, a dygwch i fyny eich plant yn ei addysg a'i athrawiaeth Ef, fel pan gwblhaoch eich pererindod ar y ddaear, y galloch ymadael mewn heddwch, wedi gweithredu cyfiawnder a sefydlu barn arni, a thrwy fod wedi ymdrechu ymdrech deg a chadw y ffydd, fod yn barod i ddyfod allan drwy adgyfodiad gogoneddus i etifeddu bywydau tragywyddol a dyrchafiad, a Duw a'i caniatao er mwyn ei anwyl Fab. Amen.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,
JEDEDIAH M. GRANT.

Dinas y Ll. H. Mawr, Hydref 29, 1855.

---

*Taliadau at Ddyled Cynnadledd Orllewinol Morganwg o Ion. 2 hyd Ion. 15.—(Yr ail addewidion.)*

| | £ | s. | d. | | £ | s. | d |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Daniel Lloyd, Abercenffig .. | 0 | 10 | 0 | David Llywelyn. Castellnedd | 0 | 5 | 0 |
| William Evans, Llwyni...... | 0 | 10 | 0 | Hopkin Jones, Treforris.... | 0 | 5 | 0 |
| Isaac Evans, Cwmafon...... | 0 | 2 | 6 | Gwenllian Jones, ei wraig .. | 0 | 5 | 0 |
| David mab J. Jones, Ystrad | 0 | 5 | 0 | Cyfanswm ........ | £2 | 2 | 6 |

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O ION. 1 HYD ION. 15.—Edward Middleton, £14; Wm. Lewis, £3 10s; B. Jones, £9.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 3.] CHWEFROR 2, 1856. [CYF. IX.

## COFNODAU CYMMANFA GYFFREDINOL

*Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, yn ymgynnulliedig yn Ninas y Llyn Halen Mawr, a ddechreuwyd dydd Sadwrn, Hydref* 6, 1855.

[A gyfieithwyd o'r "Deseret News" gan Thomas Harris.]

Y LLYWYDD B. YOUNG yn llywyddu.

Ar yr esgynlawr:—y Llywyddion B. Young, H. C. Kimball, a J. M. Grant.

O'r Deuddeg Apostol:—P. P. Pratt, O. Pratt, W. Woodruff, G. A. Smith, E. T. Benson, L. Snow, ac E. Snow.

Degau a Thrugeiniau:—Joseph Young, H. Herriman, Z. Pulsipher, ac A. P. Rockwood.

Corwm yr Archoffeiriaid:—David Pettegrew.

Esgob Llywyddol:—Edward Hunter.

Llywyddiaeth yr Estynfa:—David Fullmer, T. Rhoads, a P. H. Young.

Cofnodydd y Gymmanfa:—T. Bullock.

Arfynegydd:—G. D. Watt.

Galwyd i drefn gan y Llywydd B. Young.

Canodd y côr,—"The morning breaks, the shadows flee."

Gweddiwyd gan y Llywydd Young fel y canlyn:—"Tydi Dduw yr hwn a breswyli yn nhragywyddoldeb, sef ein Duw ni, Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, a Thad ein hysbrydoedd ni, Tydi yw yr hwn a ddymunwn addoli ac at yr hwn yr

ydym yn edrych, canys yr ydym yn teimlo ein hunain dan rwymedigaethau i Ti, ac i'th gydnabod di am ein bodoliaeth ar dy ddaear.

Edrychwn atat Ti y boreu hwn yn enw dy Fab Iesu Grist, yr hwn a roddaist yn bridwerth dros ein pechodau, a thros bechod yr holl fyd, a thrwy enw ac iawn yr hwn y dysgwyliwn fywyd tragywyddol.

Yn gymmaint ag i Ti waredu y ddaear a'r holl bethau sydd arni, nyni dy greaduriaid ag ydym wedi ein cynnysgaethu â dealltwriaeth, a ddymunwn dy addoli mewn ysbryd ac mewn gwirionedd, gan weddio arnat ti ein Tad, yn enw Iesu Grist, am oleuni dy Ysbryd i wybod pa fodd i'th addoli Di, i wybod pa fodd i adeiladu dy deyrnas, i wybod pa fodd i nesâu atat yn gymmeradwy, ac mewn dull a fydd yn dderbyniol i holl fôdau santaidd. Ein Duw yw yr hwn a addolwn; ac yr ydym wedi ymgynnull y boreu hwn yn dy enw i drin goruchwylion ag sydd yn perthyn i adeiladiad dy deyrnas ar y ddaear.

Yr ydym yn teimlo yn ddiolchgar i ti, ein Tad, dy fod wedi dadguddio dy ewyllys yn ein dydd, dy fod wedi llefaru o'r nefoedd a chyflwyno yr offeiriadaeth santaidd i ddynion, ac agoryd etto ffordd bywyd ac iachawdwriaeth, ac mai nyni yw y dedwydd gyfranogwyr o honi.

Cynnorthwya ni i werthfawrogi y bendithion a fwynhawn. Yr ydym wedi cael y fraint o ymgasglu yma i'th addoli Di, heb neb i'n cythruddo na pheri ini ofni; Tydi a'n symudaist ni yn mhell oddiwrth ein herlidwyr, oddiwrth y rhai a geisiasant ein gormesu, ac oddiwrth y rhai a laddasant ein prophwyd ac a ddinystriasant lawer o'r Saint. Yr ydym yn diolch i Ti am dy fod wedi ein symud ni i'r mynyddoedd hyn. Cynnorthwya ni i ystyried fod ein bendithion llawer uwch nag eiddo ein cydraddolion; pan y mae miloedd yn eistedd mewn tywyllwch, yn mro a chysgod angeu, yn dyoddef eisieu ymborth, yn dyoddef trwy ormesiadau breninoedd a llywodraethwyr, yn crymu i lawr yn eu llyfytheiriau heiarnaidd, heb y rhyddid o lefaru na gweithredu, nac hyd y nod braidd feddwl drostynt eu hunain. Cynnorthwya ni i ystyried y fendith o gael ein genedigaeth a'n meithriniad mewn hinsawdd mwy heddychol, ac yn mhlith pobl mwy llettygar, lle mae y cyfreithiau a'r llywodraeth o dan ba rai ein ganwyd yn caniatâu rhyddid i feddwl a

llefaru; ac ar y dedwyddol dir hwn, sef America, lle y danfonaist allan gyflawnder yr Efengyl ac Offeiriadaeth dragywyddol dy Fab, lle yr ydwyt wedi sicrhau i bawb y rhyddid o'th addoli di yn ol cymhelliad eu cydwybodau.

Yr ydym yn diolch i Ti am ein bod yn awr yn mwynhau y fraint hon. Cynnorthwya ni i ystyried a gwerthfawrogi y pethau hyn.

Pan yr edrychwn atat ti, ein Tad, gan fyfyrio ar ein hamgylchiadau., a'u cyferbynu hwynt ag amgylchiadau trigolion gwledydd ereill, gallwn ddweyd ein bod yn nesâu atat gyda chywilyddd gwyneb pan yr edrychwn ar dy Saint a'r rhai a broffesant dy adnabod di, ac ar yr un pryd yn canfod fod yr ychydig, diwerth, materion dibwys perthynol i'r sefyllfa bresennol yn achosi i'th bobl i bechu.

O Arglwydd, yr ydym yn teimlo i weddio ac ymddadlu â thydi ar i ti gymmeryd trugaredd ar ein gwendidau—bydd yn drugarog tuag atom.

Ac yn gymmaint a'n bod wedi ymgasglu y boreu hwn i'r dyben o drin goruchwylion, yn y sefyllfa o gymmanfa gyffredinol, yr ydym yn gweddio arnat yn enw yr Arglwydd Iesu ar fod dy Ysbryd i ddylanwadu pob calon, fel y caffom ein galluogi i'th addoli mewn ysbryd ac mewn gwirionedd, i adael ein holl bechodau a'n pethau diles, a gadael heibio y pethau hyny a ddrygant ein heddwch ac a dristant Ysbryd Santaidd ein Harglwydd Iesu, canys yr ydym yn dymuno bod dy blant ffyddlawn.

Gweddiwn arnat ar fod pob calon yn derbyn effaith cymhwys goleuni gwirionedd tragywyddol, fel y deallom ni dy ewyllys mewn cyssylltiad â ni, fel y caffom dueddiad i wneuthur dy ewyllys. i garu yr Arglwydd ein Duw â'n holl galonau, i garu ein cymydogion, yn neillduol dy Saint, fel ein hunain, i lynu wrth gyflawnder a chashâu drygioni, ac i wneuthur daioni hyd y nod i'n gelynion.—Gweddiwn ar fod dylanwadau dy Ysbryd i fod gyda ni drwy ein cymmanfa, fel y byddo y nefoedd yn drugarog uwch ein penau, ac y byddo cuddlen tywyllwch, hyd y nod tywyllwch dudew, yr hwn sydd yn gorchuddio cenedloedd y ddaear, i gael ei gymmeryd oddiwrthym ni, fel y gallom weled a gwybod pethau fel ag y maent, a deall meddwl ac ewyllys yr Arglwydd o berthynas i ni, fel y deallom dy ffyrdd a'th

fynediadau allan yn mhlith cenedloedd y ddaear, fel y darllenom dynghedfen dyn, a'r dynghedfen ddyfodol a berthyn i ni dy bobl, ac i'th deyrnas, a gwybod a deall pethau mynedol, presennol, a dyfodol.

O Arglwydd, yr ydym yn gofyn genyt i adael dy Ysbryd i orphwys arnom fel y bydd i bob un ag sydd wedi ymgyunull yma i'th addoli di i dderbyn eu nherth ysbrydol yn adnewyddol, fel y bydd i bob un a lefara o flaen y bobl i gael eu llanw â gallu Duw, fel y byddo i'r Ysbryd Glân ysbrydoli pob un i lefaru, i wrando, i gann, i weddio, i ysgrifenu, ac i wneuthur y pethau hyny perthynol i drefniad goruchwylion dy Deyrnas yn dderbyniol genyt Ti, fel y cynnyddo dy deyrnas ar y ddaear, y caffo Seion ei gwaredu, ac i'th Israel di gael eu casglu, fel y byddont yn cael eu parotoi erbyn dyfodiad Mab y Dyn, a bod y dedwyddol gyfranogwyr o'th râs o ddydd i ddydd, ac i gael eu cyfrif yn deilwng o gael eu rhifo gyda y rhai santeiddiedig, y rhai a gânt fwynhau presennoldeb yr Arglwydd Iesu Grist gydag hyfrydwch, a'u cymmeryd i fyny i'w gyfarfod yn yr awyr.

Dad Nefol, gofynwn am dy fendithion ar y rhai hyny o'th Saint nad ydynt yn awr yn ymgynnulliedig yma, y rhai ag sydd yn trigiannu yn y mynyddoedd. Cysura eu calonau, ysbrydola hwynt, cofleidia hwynt yn mreichiau dy gariad a'th drugaredd, ac amgylchyna hwynt â'th allu; a bydd yn amddiffynfa o greigiau odd amgylch i ni, yn dwr rhyngom a'n gelynion, fel nas gallont gael unrhyw allu arnom.

Yn gymmaint a bod y drygionus yn ymgymmysgu â'th bobl yma, gweddiwa ar i'th Ysbryd ddysgu iddynt yr uniawn ffordd a'u hargyhoeddi o'r Efengyl dragywyddol, er ei bod yn ddiystyredig gan ddynion mewn lleoedd uchel, ac yn ddirmygedig gan y cenedloedd; ac er fod dy bobl a'th athrawiaeth yn cael eu dàl mewn gwawd, byd 'ed i'r rhai o galon onest gael o oleuni dy Ysbryd, fel eu dylanwader i gydnabod dy fod yn Dduw, ac i ymroddi i ymgeisio ar ol cyfiawnder, fel y gwybyddont ac y deallont drostynt eu hunain y dylanwad sydd o Dduw a'r dylanwad nad yw o Dduw.

Yr ydym yn gweddio arnat ti ein Tad yn y nef, i fendithio dy holl genadon yn nghanol y mynyddoedd hyn, ar y cyfandir hwn, ar ynysoedd y môr, ac ar gyfandiroedd ereill. Bydded

i'th angylion i fod gyda hwynt, bydded iddynt fyned o'u blaen hwynt, ac oddiamgylch ogylch iddynt, fel y byddo iddynt gael eu diogelu rhag gallu y gelyn, ac i gael eu hysbrydoli oddiuchod gan allu yr Ysbryd Glân, fel y caffont allu i wneuthur daioni ac i ddwyn eneidiau i wybodaeth o'r gwirionedd, ac i adeiladu dy deyrnas a chynnorthwyo i barotoi y ffordd erbyn dyfodiad Mab y Dyn. Yr ydym yn gofyn dy fendith ar yr holl rai ag sydd yn credu yn eu tystiolaeth.

Yr ydym yn ystyried, ein Tad, mai dy eiddo di yw y ddaear a'i chyflawnder, fod yr aur a'r arian sydd ynddi yn eiddo i ti, fod y gwenith a'r blawd goreu yn eiddo i ti, fod yr anifeiliaid ar fil o fynyddoedd yn eiddo i ti, ac mai tydi sydd i roddi a'th bobl sydd i dderbyn. Gofynwn i ti wneuthur felly fel y gallo dy bobl ymgasglu yn nghyd o ynysoedd y môr ac o wledydd pellenig.

Bydded i'th Ysbryd orphwys ar dy Saint, fel y byddo i'r cyfoethog deimlo yr haelioni a'r elusengarwch hyny tuag at y tlawd, fel y dwys deimla y tlawd galon ddiolchgar i'r cyfoethog a rodda eiddo iddynt, yn gymmaint ag y bydd iddynt ad-dalu yn ol i bob dyn yr hyn sydd ddyledus. ac i beidio bod yn gybyddlyd, nac ychwaith yn eilunaddolgar, a bydded i bawb tlawd a chyfoethog i anelu eu holl ymdrechiadau a'u heiddo er adeiladu dy deyrnas, er casglu dy Israel yn y dyddiau diweddaf, ail-sefydliad Jerusalem, a'r dygiad allan o iachawdwriaeth i drigolion yr holl ddaear.

Gofynwn i ti ein Tad, i ysbrydoli yr oll o honom i fod o'r un galon ac o'r un meddwl, fel y byddo ein serchiadau wedi uno yn rhwymedig mewn adeiladu dy deyrnas ac yn yr ymsefydliad o honi ar wyneb y ddaear. Bydded i ti fendithio ac i iachâu y cleifion yn mhlith dy bobl, a chysura eu calonau. Ni a goffhawn o'th flaen di y rhai ydynt yn awr ar y gwastadedd yn teithio i'r lle hwn, gan ofyn i ti eu dwyn yn ddiogel atom; bydded yr elfenau yn ffafriol a thirion iddynt, a chaniatâu iddynt ddyfod atom yn ddiogel, a bydded i'w calonau gael eu hysbrydoli. Yn gymmaint ag iddynt ddyoddef trafferth a llafur, i ymgasglu at dy Saint, bydded iddynt gael dy Ysbryd Santaidd ganddynt, a bydded i'th angylion fod oddiamgylch iddynt. Bendithia a diogela eu gweddeuau a'r oll ag sydd ganddynt.

Yr ydym yn gweddio arnat, O Arglwydd, i edrych ar lwyddiant dy deyrnas yn mhlith holl genedloedd y ddaear; prysura ymgasgliad Israel a gwaredigaeth Seion, a bydded i weddillion y Lamaniaid deimlo o allu dy Ysbryd, fel y byddo iddynt adael eu drygioni a'u difeddu o'u gwaedgar nwyd, a derbyn calonau o gig fel y gwelont ac y deallont ffyrdd yr Arglwydd. Yr ydym yn cyflwyno ein hunain i ti, ein gwragedd a'n plant, ein tai a'n tiroedd, ein praidd a'n diadelloedd, gyda yr holl bethau a roddaist i'n gofal. Yr ydym yn cyflwyno y gymmanfa hon i ti, a gweddiwn am ddoethineb i drin y goruchwylion angenrheidiol, ac ar fod pob peth ag sydd heb fod yn iawn, ag sydd yn groes i'th gynghor a'th ewyllys di i gael ei gymmeryd o'n meddyliau. Bydded i bob calon gael eu tueddu at yr hyn a'th foddlona di ac a gynnyrdda dy deyrnas, ac achosa a gwna i galonau dy blant i lawenhau yn ddirfawr am eu bod yn fyw i fod yn Saint yn y dyddiau diweddaf.

Clyw ni, O Arglwydd, ac ateb ein deisyfiadau. Bydd gyda ni drwy ein cyfarfod, a thrwy weddill ein bywyd, arwain ni i'th anrhydedd, a darpara ni i'th deyrnas a'th ogoniant, a chyda y santeiddiedig, cymmer ni atat dy hunan i'th deyrnas. Y pethau hyn, gyda phob bendith angenrheidiol, a ofynwn yn enw Iesu Grist. Amen."

Canodd y côr hymn.

Y Llywydd B. Young a annerchodd y gynnulleidfa ar yr egwyddor o ffydd, yr Ysbryd Santaidd, ymweliadau yr Arglwydd â'i bobl, &c., ac a ganlynwyd gan y Llywydd Heber C. Kimball, yr hwn a lefarodd ar yr egwyddor o i'r Saint fyw i'w crefydd, neu na dderbyniant ddim lleshâd drwy yr ordinhadau.

Dadganodd y côr—"Behold a king shall reign in righteousness."—Esaiah.

Terfynwyd gan y Llywydd Joseph Young.

*Am 2 o'r gloch prydnawn*, galwyd y cyfarfod i drefn gan y Llywydd Kimball.

Canodd y côr, a gweddiodd y Llywydd Grant. Canwyd.

Yr Henuriad Nathaniel V. Jones, cenadwr dychweledig, diweddar o lywyddiaeth y genadiaeth Hindwaidd a Bermanaidd, a roddodd hanes ei deithiau yn y gwledydd hyny, ac a hysbysodd fod henuriaid Eglwys Iesu Grist wedi teithio o fyn-

ynyddoedd yr Himalaya hyd gyffiniau deheuol y Peninsula, ac a ddywedodd ddarfod i un Mr. Wilson, esgob o Galcutta, ysgrifenu at yr offeiriaid yn yr holl ddosparthiadau milwraidd i rwystro yr henuriaid "Mormonaidd" i bregethu yno, a'r offeiriaid a ufyddhasant yn ffyddlon i'r esgob.

Yr Henuriad John Young a dystiolaethodd am wirionedd yr Efengyl, ac a lefarodd ar weithredoedd da, goruchwyliaeth a dadguddiad.

Yr Henuriad Grant a ymresymodd ar y pwnc:—"Pob dyn i gael ei wobrwyo yn ol ei weithredoedd."

Canodd y côr yr anthem.—"Hosannah in the highest."

Terfynwyd gan yr Henuriad E. T. Benson.

Cyfarfyddodd y Degau a Thrugeiniau yn yr hwyr yn eu Cynghor-dŷ, a'r Archoffeiriaid yn y Neuadd gymdeithasol.

*Hydref* 7, 1855, *am* 10 *yn y boreu.*—Galwyd i drefn gan y Llywydd B. Young.

Canodd y côr. Gweddiodd y Llywydd Kimball.

Canodd y côr,—"O my Father thou that dwellest."

Yr Henuriad Parley P. Pratt a annerchodd y gynnulleidfa ar ran o'r 21ain bennod o Luc, ac a sylwodd fod y prophwydoliaethau a gyflawnwyd wedi eu cyflawni yn llythyrenol, a'r gweddill o'r rhag-ddywediadau a gyflawnir yn yr un dull.

Canodd y côr,—"Worthy is the Lamb that was slain."

Gweddiwyd gan yr Henuriad G. A. Smith.

*Am* 2 *yn y prydnawn*, galwyd i drefn gan y Llywydd Heber C. Kimball.

Canodd y côr,—"Come, come ye saints, no toil or labor fear."

Gweddiodd yr Henuriad Lorenzo Snow. Canwyd.

Yr Henuriad Orson Pratt a annerchodd y gynnulleidfa liosog ar wirioneddolrwydd a dwyfoldeb gwaith y dyddiau diweddaf hyn, ysbrydoliad Joseph Smith, a dwyfoldeb Llyfr Mormon. Yn ystod sylwadau yr Henuriad Pratt, gofynwyd bendith ar y bara gan yr Esgob Edward Hunter, ac ar y dwfr gan yr Esgob L. D. Young.

Canodd y côr,—"Judge me, O Lord."

Gweddiwyd gan y Llywydd Grant.

*Hydref* 8, 1855, *am* 9 *yn y boreu*, galwyd i drefn gan y Llywydd B. Young.

Canodd y côr hymn. Gweddiodd yr Henuriad Woodruff.

Dadganodd y côr Psalm.

Yr Henuriad Elam Luddington, diweddar o'r genadiaeth Siamese, a adroddodd yr hanesion dygwyddiadol yn ei deithiau.

Y Llywydd B. Young a sylwodd ei fod ef wedi ei foddloni yn fawr yn adroddiad y brawd Luddington, ac fod yr holl frodyr a ddychwelasant yn meddu ar Ysbryd yr Efengyl, ffaith gysurlawn i'r Saint, a mwy hyfrydol iddynt hwy nâ holl aur yr India.

(*Yn parhau yn tud.* 43.)

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, CHWEFROR 2, 1856.

CYFNEWIDIAD LLYWYDDION CYNNADLEODAU.—Mae yr amser wedi dyfod ag y dysgwyliwn i'r Llywyddion a etholwyd i'r perwyl, fyned i'w gwahanol faesydd llafur, ac hyderwn eu bod hwy yno yn brydlon, eithr yn gymmaint ag na fydd eu rhagflaenwyr yn ymfudo am ychydig wythnosau, efallai, cymhellwn arnynt i wneuthur yn fawr o'r ychydig amser hyny i iawn ddeall ansawdd a sefyllfa eu Cynnadleddau mor drwyadl ag y bo yn bosibl; cyfleu yw hwn iddynt gael dealltwriaeth yn hawdd iawn a gostia lawer o'ymchwiliad os esgeulusir ef, os nad colled i achos neu i Saint Duw; ymdrecher cael y wisg am danoch bob yn bilyn fel y diosga eich rhagflaenwyr hi oddi am danynt.

Wrth ein brodyr ymadawol, dywedwn, ymdrechwch i osod eich Cynnadleddau mewn trefn hyd y galloch; gweler fod y Llyfr Eglwys yn mhob Cangen wedi ei gwblhau yn rheolaidd, fel y caffer yr hanes ag sydd o wir anghen am bob aelod a swyddog, pa un bynag ai byw ai marw a fo; gweler fod cyfrifon y Gynnadledd yn eglur rhag camsynied rhwng pleidiau yn y dyfodol o barthed i'r hyn a dalwyd, neu weddill i'w dalu os oes; fod cyfrifon rheolaidd ac eglur yn mhob cangen i ddang-

os cyfraniadau pob person at bob peth a wnaed, ac, yn enwedig edrycher cyfrifon y Dosparthwyr oll, a chaffed y Saint sail, drwy eglurdeb cyfrifon, i ymddiried yn eu Llywyddion a'u Dosparthwyr.

Frodyr, mae yr Arglwydd wedi bendithio eich llafur i fod o fawr les i'w bobl; diolch iddo Ef am y gallu; crea pob ymdrech o'ch eiddo i adeiladu y deyrnas ddwyfol hon gariad cynnyddol yn nghalonau pob meddiannydd o Ysbryd Duw tuag atoch o'r herwydd; gwnaethoch yn dda, ac er mwyn yr enw da hwnw sydd fil gwerthfawrocach nag aur y byd, na adawwch ddylanwad ar fyd nac eglwys ar ol ond a fydd fel arogl pêr lysieu i'w anadlu. Yr Ysbryd hwnw a'ch cymhellodd i wasanaethu lles y Saint cynt, a gynnyddo, gyda'ch hymadawiad, fwy-fwy o ddymuniad i'w llesoli a'u bendithio; mae Duw yn gofyn hyn, ein pleser fel ein lles fo ei wneyd, ac felly yr agora Efe galonau i ddiwallu eich anghenrheidiau ac i'ch cludo tua Seion yn gysurus.

Wrth y Llywyddion dilynol, dywedwn,—Frodyr, ymdrechwch gael ysbryd a meddwl eich blaenoriaid yn drwyadl; gael dealltwriaeth o'r mesurau a osodasant hwy mewn gweithrediad yn unol â chyfraith Duw. Ac yn lle byth ynganu gair bychanus am eu trefniadau, na dangos brycheuyn i arall o'u hanmherffeithrwydd os gwelwch ryw beth, gwellhawch os bydd anghen heb i neb wybod dim am dano, a pherchwch yr Offeiriadaeth a feddai eich brodyr fel yr eiddo eich hunain, canys, a pha farn y barnoch hwynt eich bernir yn ei bryd.

Nid mawredd na doethineb yw mewn dyn i ddechreu ar ei faes llafur drwy chwyldroi a diystyru yr hyn a amcanodd ei rag-flaenydd, eithr ymchwydd y "fi foi fawr," a diffyg doethineb, yr hyn a argoela yn anffafriol iddo ei hun. Mae hawl gan bob Llywydd yn ei gylch i drefnu mesurau er cario y gwaith yn mlaen yn ol y ddoethineb a rodda Duw iddo o dan yr amgylchiadau, a thra mae Duw yn cymmeradwyo hyny, gofaled y sawl a'u newidio fod Duw yn gofyn hyny. Dyledswydd arbenig ar y Saint, a mawr-fraint yw iddynt gyfranu yn ol eu gallu at ddiwallu anghenrheidiau eu Llywyddion, ac mae eu hael'oni yn y mynedol yn ein perswadio i gredu na raid cymhell llawer ar y mater pwysig hwn; eithr hyd amser yr ymfudiad eu braint fydd cael dau am un i'w cynnal, ond odid,

canys eu lles yw hyny. Yn enwedig crefwn sylw y Saint at ymfudiad eu Llywyddion—cymhellwn yr oll, yn ol eu gallu i'w cynnorthwyo i fyned adref fel milwyr glew o'r rhyfel, yn llawn ysbryd daionus, ac yn eu llawn arfau, gyda dymuniadau parhaus drostynt ar i'r Meistr mawr a'n pïa ni oll a'n gwaith ad-dalu eu haelionusrwydd ar ei ganfed, a'u dwyn yn fuan ar eu hol hwythau i Seion i gartrefu. Dyma y teimladau a ddylai fod yn mhob rhai wrth ymadael a'u gilydd; ac er mwyn hwyluso ymfudiad y Llywyddion, gofynwn i'w holynwyr gydio yn y gorchwyl yn fuan ac yn egnïol, gosod mesurau doeth o flaen y Saint i'r perwyl, a rhoddi dylanwad mawreddog eu hysbrydoedd haelionus ar waith yn ddiorphwys hyd nes y cyflawnant y gorchwyl, a hyny yn brydlon.

Ni raid i ni benedi na mesur na swm i'r dyben, credwn fod digon o ddoethineb yn eich plith i ddeall beth sydd gyfiawn, ac fod awydd yn y Saint i wneuthur hyny; o ganlyniad ymorphwyswn am y cyflawniad o hyn ar ffyddlondeb y Llywyddion dilynol a'r Saint, gan ofyn i'r Hwn a ofyna hyn oddiar eu llaw ad-dalu iddynt yn fil gwell nag y gall arall wneuthur, a sicrhau ein cred ni, mai, "yn wir, yn gymmaint a'i wneuthur o honoch i un o'r rhai hyn, fy mrodyr lleiaf, i mi y gwnaethoch" fydd adsain sibrwd Ysbryd yr Iesu yn lloni eu calonau yn ol eu haeliioni.

Dymunwn gydweithrediad y Llywyddiaeth ddwbl o blaid yr ymfudiad, mai eu pleser fydd adgyfnerthu eu gilydd yn y gorchestwaith o hwyluso ffordd y Saint, po fwyaf i adael gororau Babel ar frys; fydd eu cynghori a rhagofalu drostynt yn ol y cyfarwyddiadau a roddwyd eisoes, a bod yn barod i'w hiawn arwain o'r wlad pan y del y galwad i ymfudo. Gwneler pob darpariadau a aller tra y gellir, rhag y collir y cyfle o herwydd byrdra y rhybudd i gychwyn.

Yn olaf yn awr, ynte, Anwyl Frodyr, llanwer chwi ag Ysbryd Duw; dylifed doethineb y nef dros eich gwefusau yn wleddoedd parhaus i'r Saint; eich ffyddlondeb a'ch diwydrwydd, eich sêl a'ch caredigrwydd atynt a orfodo y Saint i'ch efelychu, a'ch gweithredoedd da a anrhydeddo y grefydd anwyl a gynrychiolwch. Na chaffed gwenwynaidd ddylanwad ysbryd pleidiol le yn eich calonau, eithr eich purdeb a'ch duwioldeb a arswydo rhag gwneyd o neb yn ddrwg, a'ch gofal tadol dros

anwyl braidd yr Iesu a ymddiriedodd am enyd i'ch gofal, a gysuro yr amddifaid a'r weddw, a gryfhao y gliniau gweiniaid, a feithrino bob rhinwedd, ac a dueddo i berffeithio y plant ar ddelw eu "Brawd hynaf." Sêl a bendith ein Tad fo ar eich holl gyflawniadau, eich personau a'r eiddych, ac hefyd ar eich hufyddion, eich cyd-weithwyr a'ch bendithwyr, yw ac a fydd gweddi eich cyd-was.

---

## COFNODION CYMMANFA GYFFREDINOL.

[Parhad o dud. 40.]

YNA y Llywydd B. Young a gymmerodd i fyny oruchwylion y Gymmanfa, pan y cymmeradwywyd yn ddieithriol yr holl awdurdodau fel y canlyn:—

Brigham Young, Llywydd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, Prophwyd, Gweledydd, a Dadguddiedydd; Heber C. Kimball, cynghorydd blaenaf, Prophwyd, Gweledydd, a Dadguddiedydd; Jedediah M. Grant, ail-gynghorydd.

Orson Hyde, Llywydd Corwm y Deuddeg Apostol, a Parley P. Pratt, Orson Pratt, Wilford Woodruff, John Taylor, George A. Smith, Amasa Lyman, Ezra T. Benson, Charles C. Rich, Lorenzo Snow, Erastus Snow, a Franklin D. Richards, aelodau o'r cyfryw gorwm.

John Smith (mab hynaf Hyrum), Patriarch Llywyddol.

David Pettegrew, Llywydd Corwm yr Archoffeiriaid, Reynolds Cahoon a George B Wallace ei gynghorwyr.

Joseph Young, Levi W. Hancock, Henry Herriman, Zera Pulsipher, Albert P. Rockwood, Benjamin L Clapp, ac H. S. Eldredge, Llywyddion Llywyddol dros yr holl Ddegau a Thrugeiniau.

John Nebeker, Llywydd Corwm yr Henuriaid, James H. Smith ac Aaron Seewa ei gynghorwyr

Edward Hunter, Esgob Llywyddol yr holl Eglwys.

Lewis Wight, Llywydd Corwm yr Offeiriaid, George Dockstader a William Whitney ei gynghorwyr.

McGee Harris, Llywydd Corwm yr Athrawon, Adam Spiers a David Bowman ei gynghorwyr.

Alexander Herron, Llywydd Corwm y Diaconiaid, John S. Carpenter a Frederick A. Mitchell ei gynghorwyr.

Brigham Young, Ymddiriedolwr mewn Ymddiried dros Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.

Daniel H. Wells, Arolygwr y Gweithfeydd Cyhoeddus.

Truman O. Angel, Pen-adeiladydd dros yr Eglwys.

Brigham Young, Llywydd y Drysorfa Ymfudol Barhaus i gasglu y tlodion, H. C. Kimball, W. Woodruff, O. Hyde, G. A. Smith, E. T. Benson. J. M. Grant, D. H. Wells, Edward Hunter, Daniel Spencer. Thomas Bullock, John Brown, W. Crosby, A. Lyman, C. C. Rich, Lorenzo D. Young, P. P. Pratt, Orson Pratt, F. D. Richards, a Daniel McIntosh, ei gynnorthwywyr, a goruchwylwyr dros y cyfryw Drysorfa.

David Fullmer, Llywydd yr Estynfa hon o Seion, Thomas Rhoads a P. H. Young ei gynghorwyr.

Heman Hyde. Eleazer Miller, Phinehas Richards, Levi Jackman, Ira Eldredge, John Vance, Edwin W. Wooley, John Parry, Winslow Farr, William Snow, Daniel Cain, ac Ira Ames, aelodau o'r Uchel Gynghor.

George A. Smith, Hanesydd a Chofnodydd Cyffredinol yr Eglwys.

Ni chafodd un cynnygiad y gwrthwynebiad lleiaf.

Yna y Llywydd a lefarodd am ryw ysbaid ar geryddon yr Arglwydd, yr egwyddorion a ddylent lywodraethu y rhai a feddant hâd ŷd ar werth, &c., ac a ddywedodd, yn gymmaint â'n bod wedi bod yn gynnulliedig 3 1-2 o oriau gwnawn ohirio am un awr.

*Am 2 yn y prydnawn.* galwyd y cyfarfod i drefn gan yr Henuriad E. Snow.

Canwyd gan y côr.

Gweddiodd yr Henuriad Erastus Snow. Canwyd.

Y Llywydd J M Grant a lefarodd dros amser byr ar ddyledswyddau ymarferol Esgobion ac Athrawon, Camlas y Big Cottonwood, gan hysbysu ei awydd i'r amser ddyfod pan y caffai bregethu pregeth angladdol yr holl segurwyr.

Parley P. Pratt, Orson Pratt, Wilford Woodruff, Erastus Snow, Joseph Young, Zera Pulsipher, Henry Herriman, Joseph Hovey, Joseph L. Heywood, Jacob F. Hutchinson, Horace S. Eldredge. George B Wallace, Joseph W. Johnson, Thomas D. Brown, John Lyon, Jacob Gates, a William Snow (pa rai a atebasant i'w henwau). a Richard Cook, Gilbert Clements, Levi

Richards, Aaron F. Farr, Wm. Gibson, Thomas Grover, Joseph Bates Noble, George Woodward, Dominicus Carter, a Daniel D. Hunt a bleidleisiwyd yn ddieithriad i fyned ar genadiaeth at y Saint yn Nhiriogaeth Utah.

Lorenzo Snow, Ezra T. Benson, a P. H. Young a bleidleisiwyd yn unfrydol i fyned ar genadiaeth i Ewrop yn y tymmor dyfodol.

Pleidleisiwyd yn unfrydol fod James Townsend i fyned ar genadiaeth i Ddyffryn Carson.

Y Llywydd Kimball a wnaeth rai sylwadau ar pwnc o gamlas, priodas, &c.

Y Llywydd Young a ddilynodd ar yr un egwyddorion, ac a alwodd bleidlais i bawb ag oedd o blaid cwblhau Camlas y Big Cottonwood, yn barod i'r badau, rhwng yr amser hyn â'r cyntaf o Fai, ac wrth nifer y rhai a gododd eu dwylaw, yr oedd yr oll yn ymddangos yn ewyllysgar i yru yn mlaen y gwaith hwn yn egnïol.

Yna y Llywydd a barhaodd ar faterion perthynol i'r D. Ym. Barhaus, celfyddydau cartrefol, &c., ac a ddywedodd, ni a ohiriwn y gymmanfa hyd y 6fed o Ebrill nesaf, am 10 o'r gloch y boreu, yn y lle hwn.

Y Llywydd Kimball a hysbysodd y byddai iddo yn y boreu ddechreu rhoddi cynnysgaethiadau i bersonau o Swyddau Haiarn, Fillmore, San Pete, a Weber.

Yn yr hwyr cyfarfyddodd yr Esgobion, Offeiriaid, Athrawon, Diaconiaid, a'u cynghorwyr yn y Tabernacl, a chawsant eu hyfforddi yn y pethau a berthynent i'w dyledswyddau gan y Llywyddion B. Young, Grant, a chan yr Esgob E. Hunter.

T. Bullock, *Ysgrifenydd y Gymmanfa.*

---

## NEWYDDION O'R UNOL DALEITHIAU.

Dywed y Llywydd fod sefyllfa beryglus y wlad yn gartrefol a thramor wedi ei orfodi i dorri dros derfynau rheol y Senedd, ac i drosglwyddo ei Annerchiad Blynyddol cyn ymffurfio o'r Senedd, yr hon, wedi tua chant o gynnygion a fethodd ddewis Llefarydd.

Cynnwysa yr Annerchiad faterion dyryslyd a bygythiol,

Achosa y camddealltwriaeth rhyngddynt â'r wlad hon y gwrth-ddywediadau mwyaf pendant a chroes, ac o dueddiad cynhenus.

Haerant na fedda Lloegr yr hawl a hòna hi yn Nghanolbarthau yr Americ, gan y cyduawyd yn ammod yr anymddibynrwydd nad ymyraethai y naill blaid na'r llall â'r llywodraethiad na'r meddiant o un ran o honynt. Gwada Lloegr hyn, ac estyna ei gafaelion dros lanau y Mosquito, Balize, rhan o Costa Rica hyd y nod i Bay Islands, y rhai a berthynant i Dalaeth Honduras.

Er dwys ystyried y cymhelliad gan Loegr—ar iddynt feddu ysbryd haelionus a chymmodlawn, er fod cyssylltiadau perthynasol a lleshâd y naill a'r llall yn bethau dyledus o'u meithriniad, etto, meddai y Llywydd, oddieithr y gwneir penderfyniad buan ar y mater, bydd perygl iddynt orfod eu torri, tra yr ymddengys yr achos mor fygythiol ag y mae yn awr.

Achos arall i amryson, meddai, oedd ddarfod i Swyddwyr Lloegr hèrio y gyfraith Americanaidd a'u gesyd yn anmhleidiol a diymyraeth a phob cweryla a rhyfeloedd cenedlaethau tramor, drwy ddyfod i'r Taleithiau a denu eu dinasyddion hwynt oddi yno i'w hymuno â byddin Lloegr yn ei Thiriogaethau gogleddol Americanaidd. Cyfaddefa Lloegr, meddai, ei hanfoniad o'r swyddwyr rhag-grybwylledig, i gyrchu dynion i'w Thiriogaethau, a'u gwneuthur yn filwyr yno, gyda gorchymyn caeth na thorrent yr un gyfraith filwriaethol Americanaidd, yr hyn oedd yn annocheladwy, ac yn galw am nid yn unig atebiad tuhwnt i bersonau anfonedig a weithredent ar gyfrifoldeb eu llywodraeth, ond iawn foddhäol hefyd.

Gofynir hefyd gael tynu y llinell wahaniaethol rhwng terfynau Tiriogaethau Lloegr ag eiddo y Taleithiau gogleddol, gan eu bod etto yn sengu ar gyrn eu gilydd, yr hyn oedd achos y rhyfel flaenorol â Phrydain Fawr. Barna amryw Seneddwyr difrifol (Americanaidd) fod rhyfel etto yn annocheladwy.

Tỳned y Saint y llwch o'u llygaid tra y gallant, ac a'nt cyn belled i'r gorllewin ag y gallant weled ar gost pob peth, cyn yr arllwysa y cwmwl beichiogaidd a dywylla yr awyrgylch gorllewinol ei grombiliad andwyol ar fôr a thir.

## MYNEGIAD CYFRIFIADOL

O EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF YN NGHYMRU, AM Y FLWYDDYN YN TERFYNU RHAG. 31, 1855.

DAN JONES, Llywydd,] [D. DANIELS, Cynghorwr.

J. PARRY, Bugail dros y Cynnadleddau Gogleddol.

| *Cynnadleddau.* | *Llywyddion.* | *Ysgrifenwyr.* |
|---|---|---|
| Dwyreiniol Morganwg, | Robert Evans, | George W. Davies. |
| Gorllewinol Morganwg, | Thomas Harris, | William Lewis. |
| Sir Fynwy, | Thomas D. Giles, | Edward Middleton. |
| Sir Frycheiniog | Thomas Morgan, | James Carter, |
| Llanelli | Benjamin Jones, | Thomas Stephens. |
| Caerfyrddin, | Thomas Jenkins, | Isaac Jones. |
| Deheu Penfro | John Price. | John Gibbs. |
| Gogledd Penfro, | Thos. D. Evans, | Thos. D. Evans. |
| Sir Aberteifi, | John Richards, | David John. |
| Sir Feirionydd, | John Davies, | John Davies. |
| Sir Fflint | Lewis Davies, | Amos Clark. |
| Sir Ddinbych, | John Parry, | William M. Jones. |
| Dyffryn Conwy a Môn, | William Lewis, | Evan S. Morgans. |

| Cynnadleddau. | Cang. | A. | Hen. | Off. | Ath | Dia. | Ysg | Mar. | Ymf. | Bed. | Oll. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Dwyr. Morganwg . | 27 | 0 | 263 | 63 | 82 | 53 | 300 | 19 | 117 | 232 | 1632 |
| Gorll. Morganwg . | 17 | 2 | 73 | 37 | 17 | 15 | 47 | 5 | 6 | 53 | 421 |
| Sir Fynwy . . . . . | 20 | 0 | 81 | 20 | 23 | 14 | 89 | 9 | 17 | 68 | 465 |
| Sir Frycheiniog . . | 7 | 0 | 26 | 6 | 3 | 7 | 16 | 1 | 2 | 21 | 145 |
| Llanelli . . . . . . . . | 11 | 0 | 72 | 15 | 3 | 10 | 20 | 6 | 7 | 50 | 327 |
| Caerfyrddin . . . . | 7 | 0 | 22 | 7 | 2 | 4 | 29 | 3 | 8 | 21 | 126 |
| Deheu Penfro . . . | 10 | 0 | 27 | 4 | 2 | 6 | 28 | 3 | 11 | 25 | 175 |
| Gogledd Penfro . . | 4 | 0 | 11 | 2 | 0 | 1 | 5 | 3 | 10 | 3 | 32 |
| Sir Aberteifi . . . . | 5 | 0 | 16 | 3 | 2 | 0 | 25 | 1 | 3 | 3 | 80 |
| Sir Feirionydd . . . | 6 | 0 | 14 | 5 | 2 | 2 | 4 | 0 | 0 | 4 | 71 |
| Sir Fflint . . . . . . | 6 | 0 | 19 | 7 | 5 | 3 | 12 | 0 | 19 | 22 | 111 |
| Sir Ddinbych . . . . | 4 | 0 | 14 | 3 | 4 | 3 | 7 | 3 | 7 | 8 | 106 |
| Dyffryn Conwy . . | 3 | 0 | 10 | 4 | 3 | 1 | 3 | 1 | 7 | 6 | 48 |
| Sir Fôn . . . . . . . . | 2 | 0 | 11 | 6 | 0 | 1 | 5 | 0 | 5 | 3 | 46 |
| Oll . . . | 129 | 2 | 659 | 182 | 148 | 120 | 590 | 54 | 219 | 519 | 3785 |

## AMRYWIAETHAU, &c.

HYSBYSIAD I'R YMFUDWYR I'R TALEITHIAU!!!—Mae y llong "Caravan," 1362 o dunnelli wedi cael ei llogi i fyned a Saint o

Liverpool i Gaerefrog Newydd; cychwyna ar ei mhôrdaith ar y 14 o Chwefror. Pris y cludiad yw £4 5s. Plant dros un ac islaw wyth mlwydd, £3 5s; islaw wyth mis, 10s. Rhaid i'r ymfudwyr fod yn Liverpool dydd Llun yr 11eg, ac felly dylai y rhai a fwriadant fyned gyda'r Agerfad o Abertawy fod yma nos Fawrth y 5med, yn barod i gychwyn ar y 6fed. Gall y rhai sydd yn Sir Fynwy a'r gweithiau, naill a'i cychwyn o'r Casnewydd am 20 mynud wedi 7 neu 30 mynud wedi 10 boreu dydd Llun, neu fyned i Abergavenny erlyn 18 mynud wedi 8 neu 30 mynud wedi 11 o'r gloch; y cyntaf yw y goreu os gellir er mwyn cyrhaedd Liverpool cyn y nos.

---

DYLEDION AM LYFRAU AR Y GWAHANOL GYNNADLEDDAU, AM Y CHWARTER YN TERFYNU, RHAGFYR 31, 1855.

Dwyreiniol Morganwg, £41 15s 4c; Gorllewin Morganwg, £111 2s 8c; Sir Fynwy, £22 17s 5c; Sir Frycheiniog, 16s 5c; Llanelli, £45 14s 6¼c; Caerfyrddin, £25 2s 8¾c; Deheu Penfro, £4 9s 7c; Gogledd Penfro, £1 19s 1½c; Sir Aberteifi, £14 14s 10c; Sir Feirionydd, £10 12s 10½c; Sir Fflint, £15 15s 2¼c; Sir Ddinbych, £9 17s 8c; Dyffryn Conwy, £4 12s 7¾c; Môn, £6 8s 9½c; Sir Henffordd, £4 2s 1c; Cangen Gymraeg Liverpool, £3 2s 5½c; Swyddfa y "Star," Liverpool, £6 4s 9c.—Y cyfanswm, £329 9s 7¼c.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O ION. 15 HYD ION. 30.—G. W. Davies, £3 11s; Wm. Lewis, £12 10s; Thos. D. Evans, £1; Ben. Jones, £4 18s 9c; Evan S. Morgans, £2 3s 6c.

☞ O ddiffyg lle gorfu i ni adael allan amryw bethau o'r rhifyn hwn hyd ein nesaf.

⁂ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 4.] CHWEFROR 16, 1856. [CYF. IX.


## CASGLU Y TLODION.

*(Allan o'r "Star.")*

CAWN fod ein Hiachawdwr pan ar y ddaear yn gweinyddu yn barhaus i'r tlawd, y claf, a'r cystuddiedig. Pan yn dysgu y dyrfa ar y Mynydd, dywedodd—"Gwyn eich byd chwi y tlodion, canys yr eiddych yw teyrnas nefoedd." Pysgotwyr tlodion glàn môr Galilea oeddynt ei brif ddyscyblion. Yn mhlith tlodion y byd hwn bob amser y cafwyd amlafrif o'r pur eu calon—y rhai parod i dderbyn ac i ymwneyd â'r gwirionedd. Y maent yn gyffredin yn albuocach nac ereill i weithredu ffydd yn yr Arglwydd, o herwydd y teimlant yr anghen am dani. O ganlyniad cynnyddant yn gyflymach yn gyffredin yn mhethau y deyrnas nâ'r cyfoethogion. Mae yr Arglwydd erioed wedi dangos ei barch neillduol i'r dosparth yma o'i greaduriaid, yn herwydd pa un dywed yr Ysgrythyrau "yr hwn a dosturia wrth y tlawd sydd yn rhoddi benthyg i'r Arglwydd; a'r hyn a roddes yr ad-dala Efe iddo." Nid y goludog a aeth i fynwes Abraham, ond Lazarus, yr hwn a gardotodd y briwsion a syrthiasent oddiar fwrdd y gwr cyfoethog. Digwyddodd hyn o herwydd i'r gwr cyfoethog dderbyn ei bethau da yn y bywyd hwn, ac ni wnaeth yn fawr o honynt, ac i Lazarus dderbyn pethau croes, ond a weithredodd gyfiawnder yn ei holl gystuddiau.

Testun o fawr gysur i'r Saint tra eu casheir ac eu herlidir

gan y byd a ddylai fod coffadwriaeth yr Arglwydd o honynt, a'u dewisiad allan o'r byd ganddo i fod yn llestri o barch iddo; ynghyd a'i ganiatâd iddynt fyned drwy ffwrn danllyd cystudd fel y delont megys aur fyddo wedi ei buro seith waith drwy dân.

Gan fod yr Arglwydd mor barchus o'r tlodion, dilyna fod i'w weision yn mhob oes o'r byd i arddangos y cyffelyb barch tuag atynt. Hyn a achosodd i'r Arglwydd yn amser boreuol yr Eglwys i ddysgu y Prophwyd Joseph i ddarparu ar gyfer y tlodion. Pan yr alltudiwyd y Saint gan derfysgluoedd allan o Missouri, y Prophwyd Brigham oedd un o'r rhai na laesasant ddwylaw hyd oni chasglwyd y tlodion allan o'r wlad hono. Pan yr oedd yr Eglwys ar ymadael â Nauvoo, mewn Cymmanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn Nhŷ yr Arglwydd, y Llywydd B. Young a gynnygiodd "eu bod i gymmeryd yr holl Saint gyda hwynt hyd eithaf eu gallu, hyny oedd, eu dylanwad a'u moddion," yr hyn a eiliwyd gan yr Henuriad Kimball, ac a gariwyd yn unfrydol. Mae yr un ysbryd i gynorthwyo y tlodion wedi, ac yn parhau i weithredu yn y dynion hyn, ac amryw ereill, oddiar yr amser hwnw, a dyledswydd neillduol yr Esgobion yn Seion yw gwylied drostynt.

Yr amcan mawreddog sydd wedi bod ar droed o hyd yw i *gasglu y tlodion* a darparu drostynt. I hyn y llafuria y Llywydd Young a'r ffyddloniaid yn Seion, ac y cyfranant mor haelionus o'u heiddo, canys deallant mai o'r cyfryw y mae teyrnas nefoedd. Nid oes wahaniaeth pa mor gyfoethog y byddo dyn pan yr ufyddhäo i'r Efengyl, neu pa faint o ddaioni y byd hwn a gymherth efe gydag ef i'r ymgasglfan, yn gydradd a'i frodyr y bydd ganddo ddysgu, trwy brofiad os bydd anghen, i deimlo dros anghenion y tlodion, cyn y derbynia o fendithion ystoredig yr Arglwydd i'r ffyddloniaid. Gan hyny, gwybydded y tlodion hyn,—mai po gyntaf y dysgant na fodd i'w hiawn ddefnyddio, po gyntaf y byddant addas i dderbyn cyflawnder parotoedig yr Arglwydd i gyfranu i'w bobl.

Yn mhob cynllun a ddyfeisiwyd er casglu y tlodion, y gofyniadau parhaus ydynt,—"Yn mha ffordd y cyflawnir mwyaf o ddaioni? Pa fodd y llesolir y nifer amlaf a ellir? Wrth wneuthur hyn ni ellir myfyrio ar esmwythdra ac hawddfyd bob amser. Pe atebai y dyben wrth ei bod felly, nid oes Henuriad

yn Israel ag sydd brofiadol o orchestion a chaledion teithio yma a thraw ar hyd wyneb y ddaear ar na ddymunai weled cludo y Saint o'r gwledydd hyn i Utah gyda phob moethau ac esmwythdra a allai cyfoeth ddiwallu, ond er mor ddyeithr yr ymddangosai i rai, ni lesolai gymmaint ar y Saint â'r ffordd galed dybiedig, ac ni chyflawnai amcanion yr Arglwydd gystal. Byddai y ffordd yn rhy hawdd a'i theithwyr yn rhy aml gyda dybenion ereill heblaw adeiladu teyrnas Dduw.

Tra y dengys yr Arglwydd a'i weision gymmaint parch o'r tlodion yn mhob oes o'r byd, defnyddiwn ninnau y cyfleu yma i adgoffhau yr Henuriaid yn y gwledydd hyn a ddysgwyliant fyned adref yn ystod y tymmor ymfudol dyfodol nad yw eu cenadiaethau yn darfod gyda eu rhyddhâd o'u maesydd llafur presennol, nac ychwaith pan yr ymadawant â gororau Ynys Prydain. Yr ydych wedi bod yma yn pregethu yr Efengyl—egwyddorion yr ymfudiad, ac yn ymegnïo yn mhob dull i ddwyn ymdrechiadau y Saint i weithrediad er cyflawni eu gwaredigaeth; ac fe ymrwyma arnoch i gynnorthwyo y rhai a ymfudant y tymmor dyfodol i gyflawni y dasg sydd o'u blaen hwynt. Hòna y tlodion hawl rwymedig ynoch. Ar eich taith adref, eich dyledswydd yw edrych yn barhaus pa fodd y cynnorthwyech hwynt trwy eich profiad, eu harwain a'u cysuro â'ch cynghorion, eu lloni â'ch presennoldeb, cryfhau eu ffydd, a chadw ysbryd undeb ac heddwch yn eu mysg, fel na chaffo y dinystrydd allu drostynt.

Pan gyrhaeddoch yr Unol Daleithiau, yn lle teimlo fel pe na fyddai genych amgen i wneuthur na myned adref eich hunain, byddwch barod i roddi unrhyw gynnorthwy neu i gymmeryd arnoch unrhyw gyfrifoldeb a wela y rhai fyddant a gofal yr ymfudiad arnynt yn addas i osod arnoch. Lleshad yr ymgasglwyr tlodion a fyddo eich hunan-les chwi, a'ch hawydd i'w gweled adref yn ddiogel fo gymmaint drostynt hwy a phe drosoch eich hunain.

Y mae teithio dros y gwastadedd gyda gwedd-eu-au wedi bod bob amser yn brofedigaeth i amynedd a dyfalwch yr annbrofedig, ac na ddysgwylier y bydd teithio gyda dau-olfenni ronyn yn llai felly. Ni ellwch goroni eich cenadiaeth â llafur cymhwysach i'ch galwedigaeth, neu yn fwy cydweddol ag ysbryd yr Efengyl ag y buoch yn ei phregethu, nac i'w ystyried yn

ddyledswydd arnoch, ac yn fraint i chwi, gynnorthwyo y tlodion i gasglu adref. Ni fydd ymdrafferthu gyda dau olfenni ar daith o dros fil o filldiroedd dros wastadedd anial a mynyddau hyll, trwy afonydd a chwmydd yn orchwyl rhy hawdd i'w gyflawni, hyd y nod i'r rhai arferol â chaledion a blinderau bywyd yn y mynyddau; a'r Saint a foddlonant ei wneuthur, gyda'u hynaf-wyr a'u rhai bychain, a wna yr Arglwydd yn wrthddrychau ei ofal a'i fendith neillduol. Ni honodd yr un Sant ymfudol a groesodd y gwastadedd erioed hawl mwy rwymedig yn mugeiliaid y praidd, nag a fedda y rhai a deithiant yn nghwmnioedd y dau olfenni y tymmor dyfodol.

Ni chyfeiriwn y sylwadau yma at yr Henuriaid o herwydd y dysgwyliwn yr ysgogiad lleiaf o'u hochr hwy pan y gelwir arnynt i gyflawni unrhyw ddyledswydd, eithr ystyriwn nad anfuddiol cynhyrfu eu meddyliau puraidd i goffadwriaeth o'u breintiau yn ogystal a'u dyledswyddau, ac hyderwn y teimlant yr ysbryd o honynt ar yr holl ffordd adref i Utah. Ni chyfeirir hwynt yn unig at y rhai a ddaethant o Seion, ond at bawb a fuont yn ymwneyd â gwaith y weinidogaeth yn y gwledydd hyn, ac a fwriadant ymfudo y tymmor hwn.

Os y rhai gwisgedig â gwisgoedd yr Offeiriadaeth, a chanddynt yr Eneiniad Santaidd arnynt a ysgogant yn nydd profedigaeth, pwy a ddysgwylir i sefyll? Hwynt-hwy ydynt y rhai a ddylent fod bob amser yn barod i amddiffyn y Saint rhag ymosodiadau galluoedd y tywyllwch. A oes gelynion oddiamgylch gwersylloedd Israel? Neu, a oes heintus elfodau yn ffrwst gamu yn eu plith? Dyledswydd Eneinnedigion yr Arglwydd yw bod yn flaenaf yn y frwydr, ac i fod yn alluog drwy eu ffydd a'u gallu gyda'r Hollalluog i geryddu difrodau marwolaeth. Y mae yr Henuriaid o Seion wedi derbyn allweddau a galluoedd iachawdwriaeth, a dysgwylia yr Arglwydd y defnyddir hwynt er gwaredigaeth ei bobl sydd yn mhlith y cenedloedd, fel yr elont hwythau hefyd i fyny i Dŷ yr Arglwydd ac y dysgont ei ffyrdd yn berffeithiach.

Ymafaeled yr Henuriaid yn yr Arglwydd mewn ffydd, a byw i fyny i'w breintiau a wnelont trwy arferyd y galluoedd â pha rai yr anrhegodd Efe hwynt. Pan yr elont ar fwrdd y llestr gyda'r Saint, dylent fod a gallu gyda'r nefoedd i lywyddu yr elfenau, a gwneuthur i'r oll ar fwrdd y llestr i ychwanegu at

eu hiechyd, eu cysur, a'u heddwch. Felly y dylai fod ar y rheilffyrdd, yr afonydd, ac yn y gwersylloedd ar y gwastadedd. Edrycha y Saint atoch, ac y mae ganddynt hawl i hyny ynoch, fel angylion eu gwaredigaeth. Dysgwyliant i chwi fod yn lle yr Arglwydd iddynt hwy, megys yr oedd Moses pan yr arweiniodd blant Israel trwy yr anialwch. Trwy gadw eich cynghorion dylent gael cysur mewn adfyd, cynnorthwy mewn awr o berygl, a chael gallu i fyned dros ben pob rhwystr a fydd ar y ffordd. Am hyny cyflawnwch y cyfrifoldeb fel dynion i Dduw, canys y mae arnoch. Porthwch y Saint â bara y bywyd tragywyddol, fel y cynnyddo eu ffydd yn yr Arglwydd trwyoch chwi, ac y teimlont fwy-fwy o hyd ei fod Ef wedi eich gwisgo â nerthoedd iachawdwriaeth.

Dysgwyliwn fyned adref yr hâf nesaf, ond y mae'n debyg y bydd y tymmor yn lled hwyr, ac y bydd i faterion busnesol perthynol i'r ymfudiad ein brysio ar ein taith. Etto, dysgwyliwn, beth bynag, y mwynhauwn y pleser a'r boddlonrwydd o gyfeillachu a'r cymmunoedd Saint ar y gwastadedd, ac o dreulio ambell i brydnawn gyda hwynt o gylch tân y gwersyll o tan dô ardderchog ein Tad, sef y ffurfafen sêrfrithlyd, yr hwn dô y gorfododd terfysgluoedd y Saint i ddysgu pa fodd i'w iawn werthfawrogi. Dysgwyliwn y rhodda y cyfleusdra hyny fwy o lawenydd a phleser i ni nac un tro arall a ddigwydda ar ein taith.

Y mae yn amcan parhaus genym i beidio a cham-arwain y Saint o berthynas i drafferthion y daith i Utah. Dymunem iddynt wneuthur eu meddyliau yn dawel gan benderfynu nad gorchwyl hawdd ydyw, a chychwyn mewn ffydd, gan ymddiried yn Nuw Israel am lwyddiant, a cheisio ganddo Ef yn feunyddiol, mewn gweddi ac ymbil, y cyfryw fesur o ysbryd ffydd a llawenydd a'u galluoga i ddioddef pob peth yn amyneddgar, a chael dymuniadau eu calonau.

Mae yr Arglwydd wedi addaw tywallt ei Ysbryd ar y ffydd loniaid o'i bobl, i'r graddau golynol, er achosi iddynt ddyoddef yn llawen yr holl brofedigaethau a'r cyfyngderau a gânt fyned trwyddynt. Ni fedd neb fwy hawl gyda'r Arglwydd yn y peth yma nâ'r tlodion ymfudol, ond iddynt gyflawni ammodau ffyddlondeb. Fe dyst a miloedd o'r Saint fod amseroedd o erlidigaethau, o ymdeithiau hirion a chaledion, ac o ofidiau ereill wedi

bod yn ochelysuron o'r mwynhâd mwyaf o bresennoldeb yr Arglwydd, pan y mae ysbryd y gwirionedd wedi tywallt yn helaeth i'w meddyliau o ddealltwriaeth tragywyddoldeb, a'r wybodaeth hono sydd yn arwain i iachawdwriaeth.

Tra y bydd y Saint hyny a esgeulusant alw ar yr Arglwydd, ac a ddiystyrant gynghorion a cheryddon ei weision, yn teithio i Seion ag ysbryd cynhen yn eu calonau, gan rwgnach wrth, a beio ar bawb a phob peth a'u hamgylchynant, bydd eneidiau y rhai diwyd a gostyngedig yn cael ymwledda yn barhaus ar gysur a chalondid. Pan y cyfodant yn y boreu, eu calonau fyddant orlawn o lawenydd a diolchgarwch, a phan y casglant oddiamgylch y gwersyll-dânau yn y nos, cymdeithas hyfrydlon yr Ysbryd Glan a orphwysa arnynt, ac angylion gwarcheuol a wyliant drostynt, ac a weinyddant iddynt mewn breuddwydion a gweledigaethau y nos. Mewn blynyddau dilynol bydd cofiant y pethau yr aethant drwyddynt yn felus iddynt, canys gwybyddant i'r Arglwydd fod gyda hwynt, a'u bod wedi dysgu aml wersi buddiol i'w harwain drwy eu hoes yn y dyfodol.

Yn Nghofnodau y Gymmanfa Gyffredinol yn Ninas y Llyn Halen Mawr, ar y 6fed o Hydref diweddaf, a gyhoeddir yn y 45med) rhifyn hwn o'r *Star*, caiff y Saint yr hoff newydd fod yr Henuriaid Ezra T. Benson a Lorenzo Snow wedi cael eu hethol i'n holynu yn ein goruchwylion yn y gwledydd hyn. Teimlwn i gyfarch y Saint yn yr argoel o gael dau o'r Deuddeg i lafurio yn eu plith. Y maent yn ddynion o fawr ffydd, dealltwriaeth a phrofiad, a boddlona ni yn fawr wrth ddeall y treigla dyledswyddau pwysig ein galwedigaeth oddiar ein hysgwyddau ni ar y rhai ag ydynt gymmaint cymhwysach i gynnal y baich.

Bydd ein brodyr hyn yn newydd o lygad y ffynnon. Cynnyddiant o ysbryd Seion a lysg yn eu mynwesau, cynhyrfant dân yr Efengyl yn adnewyddol yn y gwledydd hyn, a rhoddant hwylusdod newydd i waith mawr yr ymgasgliad. Nac ymsefydlied y Saint dipyn yn hirach gan feddwl y bydd pob peth yn heddwch a diogelwch drwy fod dau o'r Deuddeg yn dyfod i'w plith, canys deuant ag ysbryd yr ymgasgliad yn llosgi yn eu mynwesau fel tân cauedig yn eu hesgyrn. Prif amcanion eu cenadiaeth fyddant i gasglu Israel, yn enwedig y tlodion. Deuant gyda chyflawn ddealltwriaeth o'r cynllun newydd i'w weithredu, a ddyfeisiwyd ac a benderfynwyd arno gan y Bri-

Lywyddiaeth yn Nghynghorau Seion, ac ânt yn nghyd a chyflawni y gwaith gyda'r fath ffydd a nerth na wybuwyd o'r blaen yn y gwledydd hyn.

Y mae gallu yr Offeiriadaeth yn cynnyddu yn gyflym yn y byd, a'r man cyntaf y teimlir y cynnydd hwnw yw yn Seion, ac fel ffrydiau yn rhedeg o ffynnonell ddihysbydd fe'i dyhidlir trwy y byd gan y rhai a anfonir ar led o'r lle hwnw. Feallai yr ymhola rhai yn eu mheddyliau, "Pa beth yw y gallu hwn?" Wel, dim llai na'r cyfryw a gyfeiriodd Crist ato pan y gorchymynodd i'w ddyscyblion aros yn Jerusalem hyd oni chynnysgaethid hwy â gallu o'r uchelder. Dyma y rheswm y fod cynnifer o gyfnewidiadau yn barhaus yn mhlith yr Henuriaid, rhai yn dychwelyd adref fel yr ail ennynir y tân o'u mhewn, tra yr anfonir ereill i lafurio yn eu llefydd. O herwydd y rhesymau hyn ac ereill, dysgwylied y Saint i gynnyddiant mawr o ffydd ac Offeiriadaeth gael eu gosod i weithredu ar waith yr Arglwydd yn y gwledydd yma, dan weinidogaeth y brodyr hyn. Dysgwylied y Saint y bydd iddynt yn hytrach nag ymsefydlu yn esmwyth yn Babilon gael eu cynhyrfu i gynnyddu mewn ymdrech, ffydd, a gweithredoedd da. Lle y methasom ni yn ein gwendid i gyflawni eu gwaredigaeth, hyderwn y bydd y brodyr Benson a Snow, drwy fwy profiad a doethineb o'u heiddo, yn alluocach i ddyfeisio gwell cynlluniau er casglu y tlodion nag y buom ni yn alluog i'w gosod mewn gweithrediad i gyflawni yr amcan. Gan y medd y rhai a anfonir at y Saint gynnyddiant o nerth a medrusrwydd, eu dyledswydd yw ymdrechu deffroi egnïoedd cysglyd y Saint i ymdrechiadau cynnyddol drostynt eu hunain.

---

## PREGETH

*Gan y Llywydd B. Young, a draddodwyd yn Nghymmanfa Hydref yn Ninas y Llyn Halen Mawr, 1855.*

Gan ein bod wedi ymgynnull mewn cylch Cynnadledd er ymwneyd â busnes, ein dyledswydd yw taer geisio Ysbryd ein galwedigaeth. Galwyd ni i fod yn Saint, ac os meddwn ysbryd Saint, meddwn ysbryd ein galwedigaeth, neu o'r ochr arall, mae yn sicr nad ydym yn mwynhau y breintiau syddini gan yr

Arglwydd. Parod a boddlon yw yr Arglwydd i roddi ei Ysbryd i'r rhai ydynt gywir ger ei fron, gan daer geisio ei fwynhau.

Pe byddai y Saint ymgynnulliedig er addoli Duw a thrafod busnes perthynol i'w Deyrnas yn amddifaid o gynnorthwy ei Ysbryd, byddent debyg o wneuthur cyfeiliornadau, a byddai yn beth hynod iddynt beidio a gwneuthur yr hyn na ddylent, hyd y nod mewn pethau busnesol; byddent yn ol o gyflawni yr hyn a ddymunent, ac wrth reswm yn mhell yn ol o gyflawni amcanion y nefoedd. gwelwn lawer yn cael eu harwain ar gyfeiliorn o herwydd na chadwasant Ysbryd Crist i'w harwain.

Pan yr ymwrthoda neb o'r bobl hyn sydd yn credu yr Efengyl â'r ddyledswydd rwymedig arnynt tuag at Dduw a'i achos, amgylchynir hwynt â dylanwad a achosa iddynt fynwesu rhyw gasineb at Saint ac ymddygiad Saint; derbyniant ysbryd gau, ac yna ni eill y Saint wneuthur dim yn iawn yn eu golwg. ni eill gweinidogion Duw bregethu yn iawn na gweithredu yn iawn, a chyn hir dymunant adael cyfeillach y Saint, a hyny hefyd yn ol eu tyb hwy, gyda chalon a bywyd santeiddiedig. Dymunant ymneillduo rhag y bobl yma a dybiant yn ddrygionus, gan gredu fod pawb ond eu hunain yn ddrwg, a chadw eu hunain ar wahan oddiwrthynt hyd oni fyddant mor santaidd ag y perswadiant eu hunain eu bod hwy. ac wed'yn bwriadant ddychwelyd drachefn. Colla ereill ysbryd eu galwedigaeth a theimlant hyny, y maent yn ddrygionus a gwybyddant hyny, ac ymddiriedant fwy mewn ereill nag ynddynt eu hunain. Ond yr hunain-gyfiawnion a ânt ymaith, ac arhosant hyd oni santeiddir ni fel pobl i fod yn alluog i oddef eu presennoldeb, a meddyliant y casglant i'n plith drachefn pryd hyny feallai.

Y mae pobl yn agored mewn llawer ffordd i gael eu harwain ar gyfeiliorn trwy allu y gwrthwynebydd, canys ni ddeallant yn iawn ei fod yn orchwyl caled iddynt wahaniaethu pethau Duw oddiwrth bethau y diafol bob amser. Nid oes ond un ffordd iddynt adnabod y gwahaniaeth, a hono yw drwy oleuni ysbryd dadguddiad, hyd y nod ysbryd ein Harglwydd Iesu Grist. Heb hwn yr ydym yn agored i gael ein harwain ar gyfeiliorn, a gadael ein brodyr, ein cyfammodau, ac Eglwys a Theyrnas Dduw ar y ddaear.

Pe yr esgeulusai y bobl eu dyledswyddau, ac na chyflawnent yr hyn a ofynid ar eu dwylaw, gan golli golcuni Ysbryd yr Ar-

glwydd, goleuni ysbryd dadguddiad, ni adwaenent lais y Bugail da oddiwrth lais dyeithr-ddyn, ni ddeallent y gwahaniaeth rhwng gwir a gau athraw, canys y mae llawer o ysbrydion wedi myned allan i'r byd, ac y mae yr ysbrydion gau yn rhoddi dadguddiadau yn ogystal ag Ysbryd yr Arglwydd. Yr ydym yn gyfarwydd â hyn; gwyddom fod amryw ysbrydion twyll odrus, ac oddieithr i Saint y Dyddiau Diweddaf fyw yn ol eu breintiau a mwynhau Ysbryd yr Efengyl Santaidd, ni allant wahaniaethu rhwng y rhai a wasanaethant Dduw â'r rhai nis gwasanaethant Ef. Gan hyny y mae yn gweddu i ni fel Saint i lynu wrth yr Arglwydd â'n holl galonau, ac edrych wrtho hyd oni f[illegible]ynhauo.n oleuni ei Ysbryd, fel y gwahaniaethom rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng ysbryd gwir ac ysbryd gau. Yna pan welom enghraifft, cawn wybod o ba le y mae, a pha un a ydyw oddiwrth yr Arglwydd a'i peidio, eithr os na fydd y bobl yn gynnysgaethedig â'r Ysbryd Glân ni allant ddweyd, am hyny y mae yn gweddu i ni feddu Ysbryd yr Arglwydd, nid yn unig mewn pregethu a gweddio ond i'n galluogi i adfyfyrio a barnu, canys mae y Saint i farnu yn y pethau hyn. Y maent i farnu nid yn unig ddynion, y maent i fod yn farnwyr nid yn unig mewn cylch Cymmanfaoedd i farnu pa beth i wneyd, pa lwybr a ddilynir er llwydd o teyrnas Dduw yn mhellach, pa fusnes a drafodir, ac yn y blaen, ond mewn gwirionedd hwy a farnant angylion.

*(I w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

SEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, CHWEFROR 16, 1856.

Cymmanfa Gyffredinol.—Dywenydd genym allu hysbysu y cynelir Cymmanfa Gyffredinol yn Neuadd y *Llaw Goch*, Merthyr Tydfil, i ddechreu ar ddydd Sadwrn, Chwefror 23ain

am hanner awr wedi deg o'r gloch yn y boreu. Dymunir ar yr holl Lywyddion yn neillduol, a chynnifer o'r Offeiriadaeth ag a fo yn bosibl i ddyfod o'r holl Gynnadleddau Cymreig y dydd hwnw. Sul y 24ain, cynnelir cyfarfodydd cyhoeddus drwy y dydd. Mae genym addewid y Llywyddion F. D. Richards, D. Spencer, C. H. Wheelock, &c., yr anrhydeddant y Gymmanfa â'u presennoldeb, ac y maent hwy a ninnau yn hyderu nad esgeulusa neb y cyfleusdra hwn i gael eu dysgeidiaeth bwysig a dyddorol ar eu hymweliad olaf a Chymru cyn eu hymadawiad o'r wlad.

Dymunir ar y Llywyddion ein hesgusodi ar yr amser prysur hwn rhag rhoddi iddynt rybudd amgen nâ hwn, a rhagflaenu hyd y gallant unrhyw gyhoeddiadau ereill ar y pryd hyny.

---

## CYFARWYDDIADAU AR YR YMFUDIAD.

36, *Islington, Liverpool, Chwefror* 8, 1856.

O HERWYDD absennoldeb yr Henuriad E. Snow o St. Louis, a marwolaeth yr Henuriad Orson Spencer, ynghyd a'r anfanteision a gafwyd wrth chwilio am, a phenderfynu ar ffordd ogleddol a mwy iachus i ymfudwyr fyned trwy y Taleithiau i'r lle y cychwynant dros y gwastadedd, ni allasem osod ynghynt o flaen y Saint y rheolau a ganlyn:—

1af.—Dewisir Dinas Iowa, prif ddinas Talaeth Iowa, yn fan i ymreoleiddio gyferbyn â chychwyn dros y gwastadedd. Mae hi tua'r un bellder o Ddinas y Llyn H. Mawr ag yw Mormon Grove. Bwriedir i ymfudwyr y Drysorfa Ymfudol Barhaus, ynghyd â'r rhai a feddant weddenau eu hunain ymdrwsio yno i fyned allan.

2il.—Trosglwyddir ymfudwyr o'r porthladd lle y tirient i Iowa ar hyd y ffordd ogleddol, a thrwy Chicago a Rock Island.

3ydd.—Bydd i ymfudwyr y D. Y. Barhaus ddefnyddio dau-olfenni i groesi y gwastadedd, yn mha rai y cludant eu lluniaeth, eu pebyll, a'u *luggage* angenrheidiol, yn ol y cyfarwyddiadau sydd yn "Nhrydydd Epistol Cyffredinol yr Ddeg" y Brif Lywyddiaeth yn y *Star*, rhif. 4, o'r gyfrol bresennol [a'r 2 rifyn o'r UDGORN o'r gyfrol bresennol], ac yn llythyr y Llywydd B.

Young, a'r Olygyddiaeth yn y *Star*, rhif. 51, Cyf. XVII [a'r 26 rifyn o'r UDGORN, Cyf. VIII]. Darparir yn well ar gyfer yr hen, y methiedig, a'r cloff, ac addewid y Llywyddiaeth yn yr Epistol Cyffredinol rhag grybwylledig yw, y "bydd iddynt anfon dynion o ffydd ac o brofiad i osod mewn gweithrediad y mesurau" a gynnygiasant yn yr Epistol, yna nid oes eisieu i ni fanylu ynghylch y gweddill o'r daith, rhagor na sicrhau i'r Saint yr edrychir at eu lleshâd a'u cysur mwyaf gan ddynion dysgedig ac anfonedig uniongyrchol oddiwrth ein hanwyl Brophwyd, y brawd Brigham

4ydd.—Penderfyna Cwmpeini y D. Y. Barhaus gludo pawb a ddymunant fyned trwyodd i Utah ar ammodau y 3ydd Rheol am £9 y pen i bob un dros flwydd oed, a £4 10s dan hyny, gan adael i Lywydd Cwmpeini y D. Y Barhaus benodi yr iawn bris wedi y cyflawnir y gorchwyl ac y ceir allan y gost.

5med.—Fod i holl ymfudwyr y D. Y. Barhaus ymrwymo i ad-dalu cost eu cludiad yn ol y "Cyfarwyddiadau Cyffredinol" yn y *Star*, rhif. 2 o'r gyfrol bresennol.

6fed.—*Luggage.* Caniatäwyd i ymfudwyr a deithiasant yn gwmnïoedd, dan gytundeb, ar hyd y rheilffyrdd Americanaidd y llynedd, i fyned heb gost ychwanegol a 75 pwys yr un gogyfer â phob un dros 12 mlwydd oed, a 37½ pwys i bob un o 12 i waered hyd 3 blwydd oed, a dim i'r rhai dan hyny,

Dysgwylir y caniateir yr un pwysau y tymmor hwn etto, yna fe eill ymfudwyr y D. Y. Barhaus gymmeryd cynnifer o'u llyfrau gyda hwynt a ewyllysiant. Ni chedir caniatau i'r rhai a erchir allan gan eu cyfeillion o Utah heb fod eu cludiad wedi ei flaen dalu, nac i'r rhai a ddewisir i fyned oddiyma, fyned a mwy o bwysau o *luggage* gyda hwynt nag a nodir uchod yn mhellach na'r porthladd lle y tiriant yn yr Unol Daleithiau. Fe eill y rhai sydd yn blaen dalu eu cludiad yma, neu os bydd wedi ei flaen-dalu drostynt yn Utah, os bydd modd ganddynt, fyned a'u gorbwysau o *luggage* trwy y Taleithiau am tua 10 swllt y 100 pwys hyd y cychwyn-fan, lle y bydant yn o debyg o allu cytuno a gweddeuau ychain i gario y gweddill nad â i'w dau-olfenni am tua 6c neu 7½c y pwys os costia yr un faint ag a wnaeth y llynedd. Pe y methai rhywrai gymmeryd eu holl *luggage* gyda hwynt eleni dros y gwastadedd, gallant ystorio y gweddill yn Ninas Iowa, neu Kanesville, ac erchi eu hanfon ar

eu hol flwyddyn arall. Cynghorem y Saint ymfudol i waredu eu holl gistiau coed trymion, ac i fynu cydau wedi eu hoilio er cadw dwfr allan. Lle y byddo cistiau yn anhebgorol gwneler hwynt â thin, ac mor lleied eu maintioli ag y gellir.

7fed.—Gan ei bod mor hwyr yn y tymmor, ac y dymunem frysio yr ymfudiad gymaint a ellir, gofynir yn neillduol ar ymfudwyr i Utah i anfon y cyfleu cyntaf am gludiad, gan roddi eu henwau, a'u blaen-daloedd, &c., yn ol yr "Addysgiadau Cyffredinol." Mae yn ofynol i'r rhai a ddymunant i ni brynu gweddenau iddynt anfon eu heirchion a'u harian i ni yn ddioed, ac ymfudwyr y Drysorfa sydd yn blaen dalu anfon eu henwau a'u blaen-daloedd, ac arian eu cludiad yr un modd.

8fed.—Ni fydd yn angenrheidiol i ymfudwyr trwyodd i Utah hwylio cyn canol neu ddiwedd mis Mawrth.

9fed.—Yn ol y "Passenger Act" presennol, bydd yn drosedd ar bob un fyddo yn ymwneyd neu yn ymyraeth mewn un ffordd a gwerthu neu roddi cludiad allan o'r Deyrnas Unol, heb feddu awdurdod i hyny yn ol rheolau y Gyfraith. Gan hyny hysbyswn fod pob ymfudiad oddiwrth y Saint am gludiad i'r America i'w anfon yn union at F. D. Richards, ynghyd â blaen-daloedd, &c., fel yr hysbysir yn y "Cyfarwyddiadau Cyffredinol," oddieithr gan Saint Bugeiliaeth Llundain, y rhai allant anfon trwy ei Oruchwyliwr awdurdodedig, Mr. W. C. Dunbar, 35 *Jewin Street, City, London*, ynghyd a Saint y Dywysogaeth Gymreig, y rhai allant ymofyn drwy Mr. Dan Jones, "*Udgorn Seion*" *Office, Swansea*, yr hwn hefyd yw ei Oruchwyliwr awdurdodedig.

10fed.—Gofynir i Fugeiliaid a Llywyddion achosi i'r Hysbysiad yma gael ei ddarllen a'i ddeall yn yr holl Gangenau a gynnwysant eu Cymmdeithasau mor gynted byth ag y bydd yn bosibl.

F. D. Richards,
Daniel Spencer,
C. H. Wheelock,
*Llywyddiaeth Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn yr Ynysoedd Prydeinig a'r gwledydd amgylchynol.*

---

## HEDDWCH!

Heddwch yw prif destun Amherawdwyr, Seneddwyr a Golygyddion yn bresennol, tra y gwaedda ereill, Rhyfel! rhyfel! gan nad amgen y cynnyg yma o gymmodi nâ'r un blaenorol pan yr oedwyd rhyfela am ennyd mewn dysgwyliad y cymmodai Rwsia, yr hon, yn lle hyny a wnaeth yn fawr o'r amser i drosglwyddo nwyfau rhyfel a milwyr trwy lefydd lle na feiddient wed'yn, nac o'r pryd hwnw hyd yn awr pan yr awgrymir am gael oediad byr ar y rhyfel etto hyd nes y gwelir pa beth nesaf. Os mai gwylied ei mhantais, parotoi ei hun, ac hèrrio ei gelynion wnaeth yr Arthes o'r blaen, mae yn fwy nâ thebyg mai felly y gwna hi etto, tra y byddo nerth yn ei chrafangau.

Tra y syfrdanir ein clustiau gan sŵn rhyfel y dwyrain-fyd, deallwn nad llai felly yw sefyllfa yr Americ Orllewinol. Megys mai o *grater* cynhyrflyd yn chwythu allan *lava* tanllyd *volcano* y gwelir pa beth yw cynnwysiad ei hanferth grombil, y gwelir wrth elfenau rhyfel andwyol yn ymferwi yn Arkansas arddanghosiad o gynnwysiad tufewnol yr Undeb mawr Americanaidd.

Ar yr 8fed o Ionawr diweddaf ymosododd rhai o'r gwrthgaethfasnachwyr ar y caethfasnachwyr yn Kansas, ac yn y frwydr lladdwyd a chlwyfwyd amryw o'r ddwyblaid.

Bu brwydr yn ddiweddar yn Oregon rhwng 300 o'r Indiaid â 400 o filwyr Americanaidd, a lladdwyd a chlwyfwyd amryw o bob ochr. Yn y rhyfel Indiaidd ar y Green River hefyd yr un gwaith sydd yn myned yn mlaen.

Yr oedd y Senedd Americanaidd heb ymffurfio yn ddiweddar, a phan y gwnant nid oes gadddynt amgenach gwaith nag ymddadlu a dangos ffraethineb ymgecraidd, politicaidd fel ei gelwir, fel y maent wedi dechreu gwneuthur, yn ol eu hen arferiad.

Dywed amryw Seneddwyr eu barn mewn cyssylltiad â Lloegr, mai oddieithr yr ysgoga hi yn ol o'i sefyllfa bresennol ar y Cyfandir Americanaidd, y bydd rhyfel yn annocheladwy. Yr oedd y sôn ar led yno fod America yn bwriadu uno â Rwsia yn erbyn y galluoedd Ewropaidd gorllewinol, ond dywedid mai mympwy penboethiaid oedd. Beth bynag, dywed un o'r prif yddiaduron, sef y "New York Daily Times,"—"Mai cyn pen blwyddyn o'r amser y gwnant ymyraeth â materion ar

Gyfandir yr America, y gwelent ei baneran yn chwifio lle na ddymunent; mai amser peryglus yw y presennol iddynt fygwth yr Unol Daleithiau, ac y gall annelliad blaen gwayw-ffon sugn-dynu mellten yn ol !"

Fel y mae swn dolefus chwyrnad y gwynt ac ymddanghosiad dudew gymylau yn yr awyr o flaen yr ystorom erchyll fyddo yn dyfod yn achosi i'r colomenod ffoi i'w ffenestri, a'r gwenyn i'w cwch, y mae lleisieu daroganol a bygythiol llywodraethwyr gwledydd, ac arwyddion yr "amseroedd blin" yn symbylu Saint y Goruchaf i edrych a ffoi tua Seion y cyntaf a gaffont.

---

## CASGLIAD Y SAINT.

### GAN GWILYM DDU O SEION.

Y DYDD a ragwelwyd gan santaidd Brophwydi
A Phatrieirch, wawriodd uwch goror ein byd,
Allweddau'r oruchwyliaeth ddiweddaf a roddwyd,
Er casglu plant Israel o bob parth ynghyd;
Hiliogaeth hen Abraham, Isaac, a Jacob,
A fuont ar wasgar am oesoedd yn byw;—
"Dy hâd a adwaeni yn mhlith y cenedloedd,"
Medd hen brophwydoliaeth gan brophwyd i Dduw.

Yn awr mae cenadon Duw'r nef yn pregethu
'R efengyl dragwyddol i bobl y byd,
Oll wedi eu hanfon mewn dwyfol awdurdod,
I bob parth o'r ddaear ar led ac ar hyd;
A dyma'r "pysgotwyr" a'r "helwyr" ragwelwyd
Gynt gan yr hen brophwyd drwy Ysbryd ei Dduw,
Yn casglu y Saint yn y dyddiau diweddaf,
O blith y cenedloedd lle buont yn byw.

O Babilon fawr cyn ei chwymp deuant allan,
Yn lluoedd afrifed wrth alwad Duw'r nef,—
Fel cwmwl, - fel niwl ac fel colomenod,
Yn glau i'w ffenestri ehedant tua thref;
Plant Ephraim i Seion, i wlad y gorllewin,
A'r deg llwyth o'r gogledd d do'nt adref bob un,

Plant Juda a ddeuant i hen Balestina
I godi eu teml cyn dêl Mab y Dyn.

Hen Satan a rwymir, a'n Hiesu deyrnasa
Dros fil o flynyddoedd yn nghanol ei Saint,
Gwna hwynt yn Offeiriaid i'w Dad, a Breninoedd,
Yn nheyrnas y nefoedd – (O freiniol wir fraint);
Hîl Abraham, Isaac, a Jacob, byth mwyach,
Ni chânt eu gwasgaru, medd geiriau Duw Iôr,
Ond gyda eu Brenin tragwyddol teyrnasant,
Dros bedwar bàn daear, ac o fôr i fôr.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y Deml.—Defnyddiwyd dwy waith gymmaint o feini eisoes at syflaen y Deml a adeiladir yn Ninas y Llyn Halen Mawr ag a ddefnyddiwyd i adeiladu y Deml oedd yn Nauvoo yn gyfangwbl.

Mae un o'r swyddogion gwladol a anfonodd y Llywodraeth Americanaidd i Utah wedi ufyddhau i "Formoniaeth," a chanddo ddwy wraig eisioes.

Dywedir fod y Czar yn deisyf ar y Taleithiau gymhedroli rhyngddo ef â'r galluoedd cynghreiriol. Wyddys pwy gymhedrolwr a gaiff "Jonathan" yntau, yn ddigon galluog i gymhedroli rhwng y Taleithiau Deheuol a Gogleddol? Oni chaiff ryw un yn fuan mae yn debyg yr ânt yn gyrbibion, a phwy a gwyna i'w tynghed?

Mae yr offeiriaid Pabaidd yn yr Iwerddon yn gwneyd coelcierthi o Feiblau a Thestamentau Protestanaidd.

Yn ol daroganiad y newyddiaduron mae yr awyrgylch gorllewinol yn duo, a'r cwmwl oedd fel cledr llaw gwr er ys tro yn ol yn orlwythog o elfenau rhyfelawg, ac y mae yn bur debyg y rhuthra y "Tarw" Prydeinig ei gyrn i'w grombil cyn hir, o leiaf mae testunau y cweryl wedi amlhau i bump yn awr, a phan y tynir ymaith yr hyn sydd yn atal, yr hyn a bwreaswyd a wneir. Gwyn fyd y rhai a gyrhaeddant y waredfan orllewinol cyn yr arllwysa.

DIRWYWYD ad[illegible] a o'r enw James Brett yn ddiweddar yn Dover i £50. o dan feichiafon o £50 yr un am ei ymddangosiad o flaen y Chwarter Sesiwn, am aflonyddu addoliad Saint y Dyddiau Diweddaf, a pha ddyn, a fedd ronyn o barch i grefydd neu awydd i addoli Duw, ar na ddiolcha i'r Ynadon am wneyd cyfiawnder am unwaith, ac a[illegible] na obeithia y gwneir esiampl o'r dyhiryn hwn, er rhybudd i'r cyffelyb rai ag ydynt yn cael eu cyflogi gan Offeiriaid a Pheirch ein gwlad mor fynych i aflonyddu addoliad eu cyd[illegible]ynion c[illegible]efyddol[illegible] ch na'u hunain.

---

*Taliadau at Ddyled Cynnadledd Orllewinol Morganwg o Jon. 16 hyd Chwef. 13.—(Yr ail adde[illegible]idion.)*

| | £ | s. | d. | | £ | s. | d |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Henry John, Treforris...... | 0 | 2 | 6 | Ben Phillips etto.......... | 0 | 4 | 6 |
| Ann John, ei wraig........ | 0 | 2 | 6 | Ben. Jones, etto .......... | 0 | 2 | 6 |
| George Cutliffe, Abertawe.. | 0 | 5 | 0 | Esther Jones, ei wraig...... | 0 | 2 | 0 |
| David Davies Heol Tetthial | 0 | 2 | 0 | Thomas Evans, Cylyng ..... | 0 | 2 | 0 |
| Catherine Dear Castellnedd | 0 | 2 | 6 | Philip Thomas, Alltwen.... | 0 | 2 | 6 |
| Wm Jenkins, etto.......... | 0 | 2 | 6 | Cyfanswm... | £1 | 10 | 6 |

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O ION. 30 HYD CHWEF. 8.—Isaac Jones, £3 10s; John Davies, £1 [illegible]s.

☞ Cynnelir Cymmanfaoedd y Gogledd fel y can'yn:—Sir Fflint ar yr 2il o Fawrth, Sir Ddinbych ar y 9fed, Dyffryn Conwy a Môn ar yr 16eg, a Sir Feirionydd ar y 23ain.

☞ O ddiffyg lle gorfu i ni adael allan amryw bethau o'r rhifyn hwn hyd yn nesaf.

CYFARWYDDIADAU.—Daniel Daniels, "Udgorn Seion" Office, Swansea.—Abednego Williams, Garden Street, Merthyr.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Capt. Jones, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD. TUD



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 5.] CHWEFROR 30, 1856. [CYF. IX.

# PREGETH

*Gan y Llywydd B. Young. a draddodwyd yn Nghymmanfa Hydref yn Ninas y Llyn Halen Mawr*, 1855.

[Parhad o dud. 57.]

YR ydym yn eistedd yma fel barnwyr, a meddyliwch y rhoddid y cyfryw gynnygiad yn awr gerbron y bobl yma a ddiweddai er ea nhiwed, er iddynt benderfynu arno, neu tybiwch y byddai arweinyddion y bobl yma wedi gadael yr Arglwydd, ac y cynnygient yn unol ag hunan-chwant, yr hyn a wrthdarawai yn erbyn teyrnas Dduw ar y ddaear, a'r hyn y rhoddiad o hono a ddinystrai y bobl yma, pa fodd y canfyddech y drwg ac y gwahaniaethech rhyngddo a'r da? Ni allech ei wneuthur heb fod yn feddiannol ar Ysbryd yr Arglwydd. A ydyw y bobl yma yn mwynhau yr Ysbryd hwnw? Ydynt, lawer o honynt. A ydynt hwy yn ei fwynhau i gymmaint graddau ag a cyrhaedda eu hawl-fraint? Ydynt, rai o honynt, etto yr wyf yn meddwl y gall y bobl yn gyffredin feddu ychwaneg o'r Ysbryd Santaidd, —mwy o natur ac anian y Duwdod nag y maent yn fwynhau. Gwn fod ganddynt eu profedigaethau, gwn fod ganddynt y byd i'w ymladd, ac fod ganddynt gael eu temtio, ac mi a wn yn erbyn pa beth y mae ganddynt i ryfela.

Holwn ein hunain yn bersonol a ydym ni yn ymfrwydro yn y filwriaeth hon fel ag i orchfygu yn mhob cynnyg, a ydym ni o bob brwydr yn dychwelyd yn fuddugoliaethus. Yn hyn y

mae genym i ymyraeth â'n nwydau, ac â'r natur syrthiedig yr hon nis gallwn byth ymwaredu oddiwrthi hyd oni orweddom yn y bedd; mae hi wedi ei hau yn y cnawd, ac hi a erys yno, eithr ein braint yw ei gorchfygu a'i dwyn yn ddarostyngedig yn ein meddyliau a'n myfyrdodau ac yn mhob gorchwyl a gyflawnom, er yr holl brofi, y temtio a'r cernodio a gaffom gan Satan. Ein braint yw dyfod yn alluog i lywodraethu a darostwng hyd y nod ein nhwydau gwyllt, ïe, ein braint yw byw i'w gorchfygu yn y fath fodd ag na chaffom yr un demtasiwn i feddwl yn ddrwg, neu o leiaf i beidio a llefaru un amser cyn cymmeryd amser i ystyried, eithr y byddai yr oll yn ddarostyngedig i gyfraith Crist. A ydym ni yn byw i fyny i'r fraint yma?

Fe ddichon y gofyna rhai, Onid ydym ni yn Saint da? Ydym, gallaf ddweyd fod y bobl yma yn bobl dda, a dymunant fod yn Saint, ac ymdrecha llawer o honynt i fod yn Saint, ac y mae llawer o honynt yn Saint.

Teimlwyf dros wendidau dynion, nid wyf anwybodus o'm gwendidau fy hun, ac yn hyn y dysga pawb ereill eu tueddiadau, a gweithrediadau yr Ysbryd ar drigolion y ddaear; wrth ddysgu dynolryw derbyniaf addysg fy hun.

Mae y bobl hyn yn bobl dda, yn bobl gyfiawn, etto y mae rhai o honynt yn llawn o ffolineb, y mae rhai yn gogwyddo at wneuthur yn ddrygionus, ac yn ymddangos fel pe y carent ddrygioni; y mae rhai wedi eu llenwi ag eilun-addoliaeth, ac ymddengys fel pe byddai yn anmhosibl iddynt orchfygu ysbryd y byd, i ochelyd rhag ei garu na glynu wrtho, nac wrth bethau y byd. Apeliaf at y bobl fel barnwyr, a fedrwch chwi farnu mewn pethau perthynol i deyrnas Dduw ar y ddeaer heb fod genych ysbryd y gwirionedd ynoch?

Fe ddichon y dywed rhai, Frodyr, chwi sydd yn arwain yr Eglwys, y mae genym bob ymddiried ynoch, nid oes yr ofn lleiaf arnom ar nad â pob peth yn mlaen yn iawn dan eich harolygiaeth, y trafodir yr holl faterion masnachol yn iawn. ac os yw y Brawd Brigham yn foddlon arnynt, felly yr wyf innau. Nid wyf yn ewyllysio i'r un Sant y Dyddiau Diweddaf yn y byd hwn, nac yn y Nefoedd, ymfoddloni ar ddim a wnelwyf, heb i Ysbryd yr Arglwydd Iesu Grist,—ysbryd y dadguddiad i'w wneuthur yn foddlon. Yr wyf yn ewyllysio iddynt wybod

a deall drostynt eu hunain, canys fe gryfhäai hyny y ffydd sydd ynddynt.

Meddyliwch y byddai y bobl yn ddifater, ac na ddanghosent eu bod yn ymyraeth un dim â phethau teyrnas Dduw, gan daflu yr holl faich ar arweinyddion y bobl, a dywedyd, os boddlon ydyw y brodyr sydd a gofal pethau arnynt, boddlon ydym ninnau. Nid yw hyn yn weddus yn ngolwg yr Arglwydd.

Fe ddylai pob dyn a benyw yn y deyrnas hon ymfoddloni ar yr hyn a wnelom ni, eithr ni ddylent ymfoddloni heb ofyn i'r Tad, yn enw Iesu Grist, pa un a ydyw y peth a wnelom ni yn iawn. Pan eich hysbrydolir gan yr Ysbryd Glân gallwch ddweyd yn ddealladwy eich bod yn foddlon, a hwnw yw yr unig allu a ddylai eich tueddu i ddweyd eich bod yn foddlon, canys hebddo ni wyddoch pa un a ddylasech ymfoddloni neu beidio. Gallwch ddweyd eich bod yn foddlon, gan gredu fod pob peth yn iawn, ac fe ddichon i'ch hymddiried fod braidd yn annherfynol yn awdurdodau Eglwys Iesu Grist, eithr os gofynasoch i Dduw yn enw yr Iesu, ac os derbyniasoch wybodaeth i chwi eich hunain trwy yr Ysbryd Santaidd, oni chryfhäodd eich ffydd? Do. Ni chyflawna ffydd fechan ond gweithredoedd bychain; dyna resymeg deg. Dywed yr Iesu, "Pe b'ai genych ffydd megys gronyn o hâd mwstard, chwi a ddywedech wrth y mynydd hwn, Symud o ïdiyma draw, ac efe a ymsymmudai; ac ni fydd dim anmhosibl i chwi."

Y mae gronyn o hâd mwstard yn fychan iawn, er hyny pe meddech ffydd megys gronyn o hâd mwstard, ac y dywedech wrth y mynydd hwn, Symud oddiyma draw, fe'i gwnelid, neu wrth y sycamorwydden hon, Planer di yn y môr; neu wrth y cleifion, Iachaer chwi; neu wrth gythreuliaid, Bwrier chwi allan, fe'i gwnelid.

Tybiwch y byddai genyf ffydd megys gronyn o hâd mwstard, ac y gallwn wneuthur y pethau a ddywed Crist sydd yn adichonadwy i'w gwneuthur drwy y ffydd hono, ac fod gan ddyn arall ar gyfandir Asia yr un ffydd, ni allem gyflawni llawer, canys ni fyddem ond dau i wrthsefyll holl allu Satan. A ydych chwi yn meddwl i Iesu Grist iachâu pob person oedd yn glaf, neu i'r holl gythreuliaid ag oeddynt yn y wlad lle y trigai gael eu bwrw allan? Nid wyf i. Yr oedd gwneuthur gwyrthiau

iachâu cleifion, cyfodi y meirw, a'r cyffelyb bethau braidd mor anaml yn ei ddydd Ef ag ydynt yn ein dydd ni. Unwaith yn awr ac eilwaith y byddai gan y bobl ffydd yn ei allu, ac fe gyflawnid yr hyn a elwir yn wyrth, eithr yr oedd y cleifion, y deillion, y byddariaid a'r mudaniaid, yr ynfydion a'r rhai hyny a feddiannid gan amrywiol fathau o gythreuliaid oddiamgylch iddo, eithr yn awr ac eilwaith y caffai ei ffydd ei heffaith, o herwydd diffyg ffydd yn y personau.

Creda llawer nad oedd yn nyddiau yr Iachawdwr yr un person yn glaf yn y cymmydogaethau lle y llafuriai; camsyniad yw hyn, canys ddim ond ar dro yn ddamweiniol y digwyddai iachâd claf, neu fwriad allan gythrau'. Ond etto, tybiwch pe byddai i ddwy ran o dair o drigolion Jerusalem a'i chylchoedd feddu yr un ffydd ag oedd gan rai yn yr Iachawdwr, yna y mae yn lled debyg y iachesid yr holl gleifion, ac y bwriesid allan yr holl gythreuliaid, canys fe fuasai yno oruchwyliaeth o allu daionus dros y dylanwadau drygionus.

Caniatewch fod dau berson ar gyfandir yr Americ a chanddynt ffydd megys gronyn o hâd mwstard, ac fod un o honynt ar lân y Môr Tawel, a'r llall ar lân y môr werydd, ac y byddai i'r rhan amlaf o'r cleifion aros yn glaf o'u hamgylch, y rhai meddiannol gan gythreuliaid a boenid yn barhaus, er yr iachëid claf, neu y rhoddid ei olygon i un dall ar ambell dro. Yn awr caffed pob un o'r personau hyn berson arall o gyffelyb ffydd yn ychwanegol atynt, a gwnant gymmaint arall o waith; yna gadewch fod pedwar o bersonau yn y dwyrain a phedwar yn y gorllewin, ac fod pob un o honynt yn meddu ffydd megys gronyn o hâd mwstard, ac fe wneir pedwar gwaith gymmaint a phe na fyddai ond un yn mhob lle, ac felly ewch yn mlaen, gan barhau i ddyblu y rhifedi hyd oni fydd, maes o law, gan bob un o Saint y Dyddiau Diweddaf ffydd megys gronyn o hâd mwstard, ac yn mha le y byddai lle i ddiafliaid? Nid yn y mynyddau hyn, canys fe'u bwrid i gyd allan. Oni welwch y byddai hyny yn gynnorthwy mawr i ni?

Pe y meddwn allu o honof fy hunan i iachâu y cleifion, yr hyn nid wyf yn broffesu ei fod genyf, neu i fwrw allan gythreuliaid, yr hwn allu nid yw genyf, er os gwêl yr Arglwydd yn dda i'w bwrw allan trwy fy ngorchymyn, mae hyny o'r goreu, etto pe meddwn y gallu hwnw, ac na fyddai yno neb arall i'm

cynnorthwyo, gwnelai y bobl fel y gwnant yn awr, helant fi braidd i farwolaeth, gan ddywedyd, Oni osodwch chwi ddwylaw ar yr un claf yma? Oni ewch chwi i dy nhŷ i fan draw? ac felly yn y blaen. Anfonir am danaf yn barhaus, er nad âf ond weithiau, canys hawlfraint pob tad a fo yn Henuriad yn Israel yw i gael ffydd i iachâu ei deulu, yn union yr un fath ag a feddwyf innau i iachâu fy nheulu, ac os nad yw yn ei wneuthur nid yw yn byw i fyny i'w fraint. Y mae yr un mor resymol iddo ofyn i mi dorri ei goed iddo a chynnal ei deulu, canys pe meddai ffydd ei hunan, arbedai y drafferth o adael dyledswyddau ereill i dalu sylw i'w ofyniad.

Lledaener y ffydd yma, a gwna bob peth yn hawdd, eithr gosodwch ddwsin neu ddau o ddynion i yru wagen yn cynnwys tua chan tunnell o bwysau, a bydd y gorchwyl yn galed iawn, ond pe gosodai holl Saint y Dyddiau Diweddaf eu hysgwyddau wrth y baich, fe'i symudid yn rhwydd. Yr un peth y mae gyda'r galluoedd meddyliol ag yw gyda'r corfforol, a thyma paham y dymunaf i chwi ystyried y mater, ac y gosodwyf y peth o'ch blaen. Meddianned y Saint ffydd a gweithredoedd, a gadawant eu trachwant a glynant wrth gyfiawnder.

Yr wyf wedi rhoddi araeth fŷr i chwi ar ffydd a chrefydd ymarferol, yn awr dywedaf wrth henuriaid Israel, ac esgobion y gwahanol ddosparthiadau, ac wrth lywyddion y gwahanol gangenau, Os oes unrhyw fusnes a ewyllysiwch ddwyn gerbron y gymmanfa hon, mewn cyssylltiad ag ymddygiad ac aelodiaeth personau, gallwch gael y cyfleusdra.

Yr oeddem yn arferol er ys ychydig o flynyddau yn ol i ymwneyd â busnes o'r fath yna o flaen ein cymmanfa gyffredinol, a'n hawl-fraint yw gwneuthur hyny etto, os ewyllysiwn, neu os oes achos.

Yn mhob uchel gynghor, mewn llysoedd esgobion, ac yn mhob dosparth arall lle y trafodir ein busnes, bydd i Eglwys a theyrnas Dduw, a'r Arglwydd Hollalluog wrth ei phen, achosi i bob dyn ddangos teimladau ei galon, canys y mae yn ysgrifenedig, os ydych yn cofio, mai yn y dyddiau diweddaf y dadguddia yr Arglwydd ddirgelion calonau plant dynion.

Onid yw yr Efengyl yn gwneuthur hyny? Ydyw, y mae hi; achosa i ddynion a benywod i ddadguddio yr hyn a fyddai wedi ymguddio yn eu tymherau hyd oni syrthient i'w beddau. Gwna

y cynllun yn ol yr hwn yr arweinia yr Arglwydd ei bobl iddynt ddadguddio eu mheddyliau a'u bwriadau, a dwg allan bob rhith o dymher a lochesa yn eu cyfansoddiadau. A ydyw hyn yn iawn? Y mae. Pa fodd y gwellwch feiau dynion, wrth eu celu a pheidio sôn byth am danynt, wrth guddio i fyny bob bai a welwch yn eich brawd, neu wrth ddywedyd, O, na ddywedwch air am ei feiau, gwyddom ei fod yn gelwyddog, eithr ni wna i ynganu gair o'i blegid, canys byddai yn arwi ddadguddio y fath ffaith i'r bobl? Dyna ddull y byd a'r diafol, ond ai felly y gwna yr Arglwydd â'r bobl yn y dyddiau diweddaf? Nage.

Ymddengys hyn yn beth na ddeallir ond ychydig arno gan rai o Saint y Dyddiau Diweddaf, fe ddichon fod rhai yn ei ddeall, tra nad yw ereill. Fe amlygir pob bai a fedd dyn, fe'i diwygir gan efengyl yr iachawdwriaeth, gan gyfreithiau yr Offeiriadaeth Santaidd.

Meddyliwch fod dyn yn gelwyddog, ac na feiddiwch hysbysu hyny, O'r goreu, medd y dyn, Yr wyf yn ddiogel, gallaf ddweyd a fynwyf o gelwydd. Y mae efe yn dueddol o fod yn gelwyddog, ac os na feiddiwn ei geryddu ef o'i blegid, ymgysgoda tan y cyfryw orchudd,—cuddia ei hun tan fantell cariad ei frodyr, a pharhâ i ddweyd celwydd. Maes o law fe ladrata dipyn, ac feallai fod un neu ddau o'i frodyr yn wybodus o hyny, eithr dywedant, "Rhaid i ni guddio y bai yma â mantell cariad." Parha i ddweyd celwydd a lladrata, a pharhawn ninnau i guddio ei feiau, i ba le yr arweiniai y cyfryw un? Yn mha le y gorphenai ei yrfa? Ddim yn unlle ond yn uffern.

Pa beth a wnawn o'r fath ddynion? A ddadguddiwn ni eu beiau? Gwnawn, pa bryd bynag ei welwn yn dda ac yn addas. Gwn ei fod yn galed i dderbyn cerydd, canys nid oes un cerydd yn lloni ond yn tristâu ei dderbynydd yn yr amser ei rhoddir; eithr os derbynia person gerydd, ac y gweddia am i'r Ysbryd Glân orphwys arno, fel y caffo Ysbryd y gwirionedd yn ei galon, ac y glyno wrth yr hyn sydd yn dda yn ngolwg yr Arglwydd, rhodda yr Arglwydd râs iddo oddef y cerydd, ac efe a ddarostynga ei hun iddo, ac a'i derbynia, gan wybod ei fod er ei ddaioni. Efe a'i goddefa yn amyneddgar, ac, maes o law, efe a â drosto ac a wêl iddo gael ei geryddu am ei feiau, ac fe a'u

halltudia hwynt, ac fe ddug y cerydd ffrwythau heddychlon cyfiawnder iddo, gan ei fod yn ymddwyn yn llesiol ynddo.

Yn y ffordd yma y mae cerydd yn leshâd i unrhyw berson. Caniatewch fod ynwyf fai ac yr ewyllysiwyf ei gelu, oni fyddwn yn debyg o'i guddio? ac os na wnelai yr Arglwydd ei ddadguddio, gallwn lynu wrtho, pe na feddwn ysbryd y dadguddiad i ganfod fy mai a'i ganlyniadau. Heb ddylanwadau Ysbryd yr Arglwydd, yr wyf yr un mor agored i fyw ac aros mewn egwyddorion a mympwy gau, a gweithredoedd anghyfiawn, ag ydwyf mewn rhai gwirioneddol. Felly y mae gyda chwithau.

Os nad hysbysir chwi o'ch beiau, pa fodd y gallwch ymwrthod â hwynt a'u gorchfygu? Ni allwch. Eithr os amlygir eich beiau, mae genych gyfleusdra i ymwrthod â hwynt, ac o lynu wrth yr hyn sydd yn dda. Amcan yr efengyl yw dadguddio dirgelion calonau plant dynion.

Pan y rhodda dynion arddeall i mi, pa un ai yn gyhoeddus neu yn ddirgel, nad yw eu beiau i gael sôn am danynt, ni wn pa mor anianol eu mheddwl y teimla dynion mewn cyffelyb achosion, eithr fel Elias pan y gwatwarodd offeiriaid Baal, teimlwyf i chwerthin am ben a gwawdio y fath ddynion.

A ydych chwi yn meddwl yr ymgrymaf mor isel i'r un dyn o fewn y Diriogaeth hon, neu ar y ddaear? A ydych chwi yn meddwl y goddefaf fy hun i gael fy ngwefusau wedi eu rhwymo fel nas gallaf ddadguddio beiau y bobl pan y tuedda doethineb fi i'w wneuthur?

Nid ofnwyf y drygionus hanner cymmaint a *musquito* yn fy ystafell wely, canys fe rwystrai hwnw fi rhag cysgu, eithr am yr anghyfiawnion, a weithredant fel mileiniaid, ac a ymddygant yn waeth nâ'r cythraul, i awgrymu nad oes genyf yr hawl i sôn am eu beiau sy'n gwneuthur i mi deimlo fel pe y chwerthinwn am ben eu ffolineb. Mi a soniaf am feiau dynion y pryd a'r man a fynwyf, a pheth a wnewch chwi o'i blegid? A wyddoch chwi i'r egwyddor yna achosi marwolaeth yr holl brophwydi o ddyddiau Adda hyd yn awr? Cyfoded prophwyd ar y ddaear, ac na ddadguddied un amser ddrygioni dynion, ac a ydych chwi yn meddwl y chwennychai y drygienus ei ladd? Na wnelent, canys peidiai a bod yn brophwyd i'r Arglwydd, gwahoddent ef i'w gwleddoedd, a chyfarchent ef fel cyfaill a brawd. Paham? O herwydd y byddai yn anmhosibl iddo fod

yn ddim arall ond yn un o honynt hwy. Y mae yn annic hon adwy i brophwyd i Grist fyw mewn cenedlaeth odinebus heb sôn am ddrygioni y bobl, heb ddadguddio eu beiau a'u ffaeleddau, ac nid oes unpeth yn llai na marwolaeth a'i hattalia rhag hyny, canys fe wna prophwyd i Dduw fel y myno.

Y maent wedi pregethu wrthyf, deisyf arnaf, ac ysgrifenu ataf, i fod yn ofalus pa fodd y soniaf am feiau dynion, mwy felly nag wrth Joseph Smith yn ei fywyd; bob yn ail wythnos derbyniaf lythyr cyfarwyddiadol, yn fy rhybuddio i fod yn ofalus o gymmeriad rhywun neu gilydd. A gawsoch chwi ysbryd yr Arglwydd erioed, hyd nes y teimlech i neidio i fyny a moliannu? Yr wyf fi yn teimlo felly pan ddelo'r fath epistolau ataf, teimlaf fel pe y dywedwn, "Nid wyf yn prisio am danoch chwi na neb o'ch tylwyth tu yma i uffern"

Y mae genyf frodyr doethion o'm hamgylch a ddywedant weithiau, "Na ddywedwch fel yma neu fel arall, byddwch yn lled ofalus, da chwi byddwch yn wyliadwrus;" ac ysgrifenwyd ataf o'r dwyrain; yr wyf wedi cael sypyn ar ol sypyn o lythyrau, ydwyf, lwyth berfa o honynt, yn dywedyd, "O Frawd Brigham, mi a ddeisyfwn, a weddiwn, ac a ddadleuwn â chwi, pe y meiddiwn, ar i chwi fod yn ofalus o'r hyn a lefarwch. Oni fyddai yn well fel hyn neu fel arall nag i chwi fyned ar yr esgynlawr, a dweyd wrth y Cenedloedd pa beth ydynt? Oni fyddai yn well i chwi gadw hyny i chwi eich hun?"

A wyddoch chwi pa fodd y teimlaf pan y derbyniaf y fath hysbysiadau? Yr wyf yn dweyd wrthych fy mod yn teimlo fel pe y sychwn eu trwynau â hwynt. Os nad wyf fi i gael y fraint o sôn am Sant a phechadur pan y mynaf, cylymwch fy ngenau a gadewch i mi fyned i'r bedd, canys byddai fy ngwaith wedi darfod.

Am hyny y lladdasant Joseph a Hyrum, am hyny y dymunant fy lladd innau a'm brodyr; yr ydym yn hysbys eu drygioni, ac nyni a ddywedwn am dano pan gymhello yr Ysbryd ni, neu sôn am y person hwn neu y llall a'i gymmeriad ar yr amser iawn.

Y mae pobl yn ein mhysg sydd yn tuchan wrth hyn, a chanddynt ddrygau ar yr un pryd nad ystyriaf braidd yn wrth sylw, canys nid wyf yn meddwl y bydd y fath bersonau o un gwerth hyd y nod pe digwyddent ymwthio i fewn i deyrnas

nef, er fy mod yn tybied eu bod yn dda yn eu lle os gallwn gael allan pa fan yw hwnw, eithr hyd yn hyn yr wyf fi yn anwybodus o hono; credaf fod yr Arglwydd yn gwybod pa fan y mae, ond nid wyf fi. Dymunaf ddweyd wrth henuriaid Israel, wrth bawb pobl, dywedaf wrthych am eich drygioni, a dywedaf beth a fynwyf am danoch, a phan y teimlwch fel pe y lladdech fi am hyny. fel y gwnaeth rhai a gyfenwent eu hunain yn frodyr yn nyddiau Joseph Smith; edrychwch atoch eich hunain, canys brodyr gau oedd yr achos o farwolaeth Joseph Smith, ac nid wyf fi yn ddyn rhy gyfiawn. Mi a ddywedais wrth Saint y Dyddiau Diweddaf o'r dechreuad nad wyf yn proffesu llawer o gyfiawnder, eithr yr wyf yn proffesu gwybod ewyllys Duw am danoch chwi, ac yr wyf yn ddigon eofn i'w ddywedyd wrthych heb ofni eich llidiawgrwydd, ac yr wyf yn dysgwyl mai o herwydd hyn y galwodd yr Arglwydd fi i sefyll lle yr wyf; teimlaf mor anymddibynol ag angel.

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, CHWEFROR 30, 1856.

Yr Ymfudiad.—Caniateir i ni y pleser o hysbysu y Saint a fwriadant ymfudo eleni, fod y Llywydd Richards o'i hynawsedd yn caniatâu i'r Saint Cymreig ymfudo yn yr un llong, nad pa un a elant gyda y pedrolfenni, y ddauolfenni, ynte i'r Taleithiau, ac y cawn ninnau y fraint o fyned gyda hwynt. Erfynir ar bob un anfon ei enw a'i flaen-dâl yn ddioed. Gobeithiwn nad erys yr un Sant ar ol a fedd neu a all gael naw punt, ac na welir un ar ol o dan chwe' blwydd oed yn yr eglwys a fedd bum punt heb ddyfod i'r Taleithiau.

Mae genym y newydd da i'w hysbysu o fod y Gymdeithas Ymfudol Barhaus yn cynnyg mudo eleni hanner y nifer a dal

ant bum punt i'r Drysorfa Y. Barhaus, os buont fyw yn ffyddlon yn yr Eglwys am chwe' blynedd neu ragor, ac os na feddant chwaneg na hyny; ac y caiff yr hanner arall eu mudo y tro nesaf. Cyduned y cyfryw â'u gilydd pwy gaiff fynedgyntaf, ac os na allant apeliant at eu Llywyddiaeth, eithr dan bob amgylchiad bydded i *ffyddlondeb* ac *henafiaeth* yn yr eglwys ogwyddo y glorian. Cipier y cyfle hwn ar frys gan y rhai na feddant naw punt! Chwiliwch allan eich partneriaid ar frys, anwyl Saint, cyn yr elo yn rhy ddiweddar. Gwneled yr holl rai ereill a feddant bum punt yr un, na fuont yn yr eglwys am chwe' blynedd, bob ymdrech sydd yn bosibl i ddyfod i'r Taleithiau yn awr. Gan mai diwedd mis Mawrth yw yr amser pellaf y dylid hwylio o Liverpool; ac fod y mwyrif yn barod yn awr, ac yn aros wrth y lleill, gweler y mawr anghen sydd i frysio; nad oes diwrnod i'w golli pan ystyriom yr amser a gymmerir i logi y llong, anfon hysbysiadau, myned i Liverpool, &c., Lywyddion, deffrowch at y gorchwyl ar unwaith.

Dysgwyliwn gael y pleser o hysbysu yn ein nesaf pwy a gynnorthwyir i ymfudo. Ni ddaw foment cynt wrth ymholi.

DOSPARTHWYR.—Hawyr! Beth yw'r achos eich bod oll braidd yn cyduno i beidio anfon dim arian am lyfrau eleni mwyach? Beth yw eich ateb?

---

## COFNODAU CYNGHOR A CHYMMANFA GYFFREDINOL

*Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn Nghymru, a gynnaliwyd yn Neuadd y "Llew Gwyn," Merthyr, ar y 23ain, 24ain, 25ain, a'r 26ain o Chwefror,* 1856.

BOREU dydd Sadwrn y 23ain.—Yn bresennol—Llywyddiaeth yr Eglwys yn Nghymru—Dan Jones a Daniel Daniels, Israel Evans a Benjamin Ashby, Henuriaid Americanaidd.

Llywyddion y Cynnadleddau, oddieithr tri o'r Gogledd; amryw Henuriaid Teithiol cartrefol, &c., &c.

Am 11eg o'r gloch yn y boreu galwodd y Llywydd y Cynghor i drefn, gan hysbysu ein bod wedi cael ein siomi yn ein dysgwyliad am Lywyddiaeth yr Ynysoedd Prydeinig, ac amryw Henuriaid Americanaidd.

Gweddiodd yr Henuriad Israel Evans.

Dewiswyd yr Henuriaid William Lewis a G. W. Davies yn ysgrifenwyr i'r Cynghor a'r Gymmanfa.

Treuliwyd y Cynghor gan y Llywydd Jones i hyfforddi y Llywyddion.

Llefarodd ar alluogrwydd llywodraeth yr Offeiriadaeth ar bob peth yn y nefoedd ac ar a than y ddaear; y ffordd gul a chaeth sydd gan Formoniaid i'w rhodio. Ymresymodd ar gyssylltiad anwahanol busnes yr Eglwys,—ei rhan fasnachol a'r hyn a elwir yn ysbrydol. Dyledswydd y rhai ydynt yn ngwahanol raddau yr Offeiriadaeth i ymreoleiddio wrth eu huwchafiaid; y maent megys olwynion peiriant yn troi ac yn rheoleiddio eu gilydd, o'r Olwyn Mawr Rheoleiddiol sydd fry. Mai yr Offeiriadaeth fywiol, ac nid y lythyren farwol, yw ein Beibl presennol, ac mai wrth gyflawni ei gofynion trwy anhawsderau, a dangos ffydd ac ymdrech yn hyn y profa Llywydd ei deilyngdod o'i swydd. Ar yr anghenrheidrwydd a'r pwysigrwydd o fod yn fanwl, yn graff, yn wyliadwrus, ac yn ddyfal ar ol dosparthiaeth y Llyfrau, a phob casgliadau,—gweled fod cymmedroldeb—nad oes esgeulusdod nac ychwaith gorlwytho yn bod. Ar arwyddion yr amserau, rhybuddio y byd, ymfudiad y Saint, a dyfodiad llawer i'r Eglwys.

Gyda dysgwyliad hyderus am ddyfodiad y brodyr rhag-grybwylledig, gohirwyd y cyfarfod nesaf hyd 6 o'r gloch. Gweddiodd y Llywydd Daniels.

Am 6 o'r gloch yr oedd yn bresennol yn ychwanegol—O Lywyddiaeth yr Ynysoedd Prydeinig—D. Spencer a Cyrus H. Wheelock y cynghorwyr.

Henuriaid Americanaidd—Joseph A. Young (mab y Prophwyd Brigham), Millen Atwood, J. B. Martin, ac N. V. Porter.

Gweddiodd yr Henuriad B. Ashby.

Y Llywydd Jones a annerchodd y gynnulleidfa ar ddyfodiad y Brodyr uchod, gan ein hannog i dderbyn eu dysgeidiaeth, gan y rhoddai ei air y byddai yn dda, a rhoddodd le i'r Llywydd Spencer i lefaru, gan hysbysu fod y Llywydd F. D. Richards ar ei ffordd yno, ac y cyrhaeddai cyn diwedd y cyfarfod.

Y Llywydd Spencer a lefarodd ar y cyflawniad o'r dyledswyddau a'n cyfaddasant i lanw y cylchoedd uchel yn mha rai

y bwriada Duw gael dynion profiadol a ffyddlon, ac ychydig ar yr ymfudiad, tlodi a gormes y Saint yma, &c.

Yr Henuriad J. A. Young a sylwodd ar bwysigrwydd ein galwedigaeth yn ngwahanol raddau yr Offeiriadaeth, a chyfrifoldeb mawr pob un.

Daeth y Llywydd F. D. Richards i fewn pan oedd yr Henuriad Atwood yn llefaru ar freintiau yr Efengyl, a pha mor ddrud eu prynir.

Yr Henuriad J. B. Martin a lefarodd ar Offeiriadaeth fywiol a ffaeledigrwydd y llythyren farwol, a'i brofiad dan wahanol erlidigaethau yr Eglwys.

Y Llywydd F. D. Richards a gyfarchodd y Saint ar ei ymweliad â hwynt unwaith etto. Teimlodd yn flinderus wedi teithio, ac annogodd hwynt i ddarparu erbyn dranoeth.

Y Llywydd Jones a annogodd y Saint i ochelyd rhag diodydd meddwol yn y llefydd y llettyasant fel na chollent yr Ysbryd ac amddifadu eu hunain o fendithion y Gymmanfa. Yna gweddiodd y Llywydd Spencer.

Boreu dydd Sul y 24ain.—Y Llywydd Jones a wnaeth rai sylwadau rhag-arweiniol er cael y gynnulleidfa liosog i drefn, gan ddeisyf ar y Saint wneuthur lle i'w gilydd, ac i'r rhai oeddynt ar y grisiau ac ar yr heol yn dymuno cael lle i wrando ryw fodd. Deisyfodd ar y rhai na ddeallent Seisnig i fod yn amyneddgar gan mai yn yr iaith hono y llefarai y brodyr.

Y Llywydd F. D. Richards a fynodd ddeall wrth godiad deheulaw y Saint fod yr amlafrif o honynt yn deall yr iaith Seisnig.

Llefarodd ar yr ymfudiad, amryw ieithoedd presennol, ac uniaith ddyfodol y Saint. Y manteision o ddysgu yr iaith Seisnig gyferbyn ag ymfudo i Seion, &c., a'r ffordd i gloddio yn ddwfn a gosod sylfaen gadarn i'n hiachawdwriaeth.

Terfynwyd trwy weddi gan yr Henuriad J. A. Young.

2 o'r gloch yn y prydnawn.—Gweddiodd y Llywydd Spencer.

Y Llywydd Wheelock a lefarodd ar yr iaith Seisnig, yr ymfudiad, a'r dyoddefiadau sydd o flaen y Saint cyn y mwynhânt ogoniant, ac ar sefyllfa lygredig Babilon.

Y Llywydd Richards mewn atebiad i ofyniadau y tlodion, a ddywedodd fod mwy o arian nag a gasglwyd at y D. Y. Barhaus wedi cael eu defnyddio i gynnorthwyo y tlodion allan, ac nad

yw y Drysorfa yn rhydd o'r ddyled hyny etto, eithr fe gynnorthwyir rhai gan arian y meddiannau, rhanau o ba rai ydynt wedi cael eu gwerthu. Gweddiwyd.

Hanner awr wedi 6 yn yr hwyr. Gweddiodd yr Henuriad M. Atwood.

Yr Henuriad N. V. Porter a ddiolchodd am y fraint o ymweled â Chymru. Annogodd y Saint i werthfawrogi y ddysgeidiaeth a gawsant, a thystiolaethodd fod Joseph Smith yn Brophwyd a merthyr i Dduw, ac fod Brigham Young yn olynydd cyfreithlon a theilwng iddo.

Y Llywydd Spencer a lawenhaodd wrth weled y cynnydd a'r gwelliant o'r hyn a welodd efe pan yr ymwelodd â Merthyr o'r blaen, a dysgodd y ffordd i fod yn ostyngedig, yn ddewr ac yn alluog, a gadawodd ei fendith ar y Saint Cymreig am eu mawr garedigrwydd ato, gan eu hannog i ochelyd rhag teimladau cenedlaethol, ac ymdrechu dysgu yr iaith Seisnig.

Y Llywydd Jones a ddymunodd y byddir yn ymbleseri mewn dysgu Seisnig, ac na feichir neb yn groes i'w ewyllys. Cyfieithodd rai o sylwadau y Llywydd Richards ar "gloddio yn ddwfn a gosod sylfaen gadarn," a sylwodd ei hun ar hyny. Gan ei fod ar ymadael â Chymru, dymunodd i'r Saint gynnal ei olynwr fel y gwnaethant ag efe.

Gweddiodd y Llywydd F. D. Richards

Dydd Llun, am hanner awr wedi 10 yn y boreu, gweddiodd y Llywydd Wheeelock.

Y Llywydd Jones a alwodd ar Lywyddion presennol y Cynnadleddau i gynrychioli eu Cynnadleddau, ac i beidio celu unrhyw beth a fyddai yn niweidiol i'r achos.

Y Llywydd Richards a ddymunai gynrychioliad o fyd yn ogystal ac eglwys yn y Cynnadleddau.

Cynrychiolwyd y Cynnadleddau oll mewn sefyllfa dda iawn heb eithriadau ynddynt. O ba rai yr oedd cryn nifer yn ymfudo, ac yr oedd argoelion bedyddio yn gyffredinol.

Y Llywydd Jones a lawenhaodd wrth syllu yn ol ar symudiadau y Brawd Daniels ag yntau, na fu yr un gair nac ymddygiad croes, eithr cydweithrediad mewn cariad bob amser.

Yr Henuriad Israel Evans a gymmeradwyodd lafur y Llywydd Jones yn fawr, a gwyddai ei fod yn ymfudo dan fendith Duw a gweddiau yr holl Saint o'i plaid.

Yr Henuriad Benjamin Ashby a ddywedodd ei brofiad gyda Mormoniaeth yn agos o'i fabandod. Teimlai i gefnogi gweithredwyr cyfiawnder yn mhob lle, nad pa mor dlawd y byddont, ac i ryfela yn erbyn ysbryd gwrthryfelgar a bradwrus.

Yr Henuriad J. A. Young a hysbysodd ei fawr foddlonrwydd wrth wrando ar y Llywyddion yn cynrychioli eu Cynnadleddau, ac a lefarodd ar iachawdwriaeth bersonol, ac ufydd-dod i'r Offeiriadaeth.

Am 6 o'r gloch yn yr hwyr, cynnaliwyd *Concert*, yn yr hwn y cafwyd llawer o ddifyrwch, pleser ac addysg fuddiol, trwy adroddiadau a chaniadau, peroriaeth swynol côrau Merthyr a Chwmbach, a darlith fyr ond melys y Llywydd Richards ar Beroriaeth, a'i fawr ganmoliaeth o gyrhaeddiadau uchel y Cymry yn y gelfyddyd.

Dydd Mawrth y 26ain.—Am 9 o'r gloch yn y boreu cynnaliodd y Llywyddiaeth Gymreig Gynghor gyda Llywyddion diweddar a phresennol y Cynnadleddau, a thrafodwyd cryn lawer o fusnes yn llwyddiannus ac unfrydol.

Am 11 o'r gloch, daeth Llywyddiaeth yr Ynysoedd Prydeinig, a'r Henuriaid Americanaidd i mewn, a chynnaliwyd y Cynghor yn y blaen.

Y Llywydd Jones a ddysgodd yn ddwys ac helaeth ar bwysigrwydd galwedigaeth a chyfrifoldeb Llywyddion y Cynnadleddau, a'r manylrwydd a'r diwydrwydd a ofynir gyda busnes yr Eglwys. Cynghorodd y Llywyddion i wneyd pob ymdrech i gael gan bob Sant a feddai Naw Punt i ymfudo eleni, ac i'r sawl sydd ddiffygiol o hyny, eithr a feddant ddigon i'w cludo i'r Taleithiau, i wneuthur felly ar frys. Hysbysodd hefyd y caffai hanner y nifer a roddent bum punt i'r D. Y. Barhaus eu cludo i'r Dyffryn eleni os byddent yn Saint ffyddlon am dros chwe' blynedd, ac y caffai yr hanner arall eu cludo y flwyddyn nesaf. [Manylir ar hyn yn tud. 78 o'r rhifyn hwn.]

Dilynwyd ef ar hyn gan y Llywydd Richards, yr hwn a fynegodd ei foddlonrwydd hollol, a'i wybodaeth ddiammheuol o gymmeradwyaeth, llwyddiant, a gwenau Duw ar lafur y Llywydd Jones yn Nghymru ar ei ddwy genadiaeth.

Manylodd y Llywydd Spencer ar hyn, gan hysbysu am y gwelliant amlwg sydd ar waith a gweithwyr Duw yn Nghymru.

Dywedasant y dychwelai y Llywydd Jones yn llawen a llwyddianus i Seion, a bendithion y Duw a'i danfonodd ac a'i llwyddodd ar ei ben, ac y byddai ei waith ar ei ol yn gofadail glodfawr i'w enw, ac y gelwid ef yn fendigedig gan genedlaethau a ddêl.

Bendithiwyd a neillduwyd y Brif Lywyddiaeth a Llywyddion y Gynnadleddau Cymreig i'w cylchoedd pwysig, a gadawodd y Llywydd F. D. Richards ei fendith gyda hwynt, a therfynodd y Cynghor byth-gofadwy hwn trwy weddi.

---

[Cyhoeddwn y manylion a allwn o'r hyn a wnaed ac a ddywedwyd drwy y Gymmanfa yn y rhifynau dilynol o'r UDGORN mor gynted ag y bo lle.—GOL.]

---

## TEIMLAD SANT IEUANC.

Mi goliais fy holl ffryndiau gynt,
Pan unais gyda'r Saint;
Er hyny elw yw i mi,
Rhyfeddol yw fy mraint.

Os collais wênau f' anwyl fam,
A'm ceraint fawr a mân;
Derbyniais drysor fwy ei werth
Addawodd Iesu glân.

Mewn anwybodaeth wylant hwy,
Llèn dros eu llygaid sydd;
Ond gorfoleddu'r oeddwn i,
Ce's nerth gan Dduw trwy ffydd.

Am bethau'r byd gofidiant hwy,
Sef Mamon anferth câs;
Am drysor nef y canwn i,
A doniau dwyfol râs.

Daeth ataf, do, ddau ddeg a thri,
A hyny yr un dydd,
Dywedent—" Dafydd, Dafydd clywch,
Am danoch dwndwr sydd!

"A ddarfu'ch uno gyda'r Saint—
Gelynion penaf Duw?
I'ch tad rhyw newydd trwm yw hwn,
Marwolaeth iddo yw."

Os colled iddo ef yw hyn,
Mawr elw yw i mi;
A thystiolaethaf ger eich bron,
Mai plant y fall y'ch chwi.

'Rwyf wedi derbyn Ysbryd Duw,
Mi ge's dystiolaeth gref,
Ac i chwi 'r un addewid sydd,
Gan Frenin Nef y Nef!

Am hyny, anwyl ddynion dewch,
Ac ufyddhewch yn awr,
Ac yna Ysbryd Duw a gewch,
I'ch lloni ar y llawr.

Heb dderbyn hwn nid oes rhyddhâd,
Ond ing a llawer loes;
'Rwy'n gwybod 'nawr mai geir wir yw
Y gŵr fu ar y groes.

Am hyny, penderfynaf mwy,
I redeg yn y blaen,
A bendigedig fyddo Duw,
Am wênau'r Ysbryd Glân.

Gadawaf Babilon cyn hir,
Mi âf i Seion draw,
Ac yno caf addoli'm Duw
Heb erlid, ing, na braw.

*Diweddar o Goleg Hwlffordd.* DAVID JOHN.

CYNNWYSIAD.



ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 6.] MAWRTH 15, 1856. [CYF. IX.

## CRYNODEB O ARAETH Y LLYWYDD FRANKLIN D. RICHARDS,

*Mewn Cynghor gyda'r mwyafrif o Lywyddion diweddar a phresennol y Cynnadleddau Cymreig, a gynnaliwyd yn Neuadd y "Llew Gwyn," Merthyr Tydfil, Dydd Mawrth, Chwefror 26, 1856.*

[A ysgrifenwyd ac a gyfieithwyd gan William Lewis, Abertawy.]

TEIMLAF lawenydd neillduol y boreu hwn, wrth gyfarfod a'm brodyr yn y cylch i'r hwn yr ymgynnullasom. Teimlaf fy hun yn mhlith gweinidogion Duw, fod ei Ysbryd Ef yn ein plith, ac ei fod Ef ei hun yn hysbys o'n gweithrediadau, ac o feddyliau ein calonau. Teimlaf yn ddiolchgar am y tymhor blasus a gawsom ynghyd yn ystod ein cymmanfa fynedol.

Dymunaf ar fod i Ysbryd y dadguddiad, sef tystiolaeth yr Iesu fod gyda ni y boreu hwn tra y gwnawn ychydig bethau yn ei enw, o'r cyfryw a'n gwnant yn ddefnyddiol i'r Arglwydd, ac yn llesiol idd ein cyd-greaduriaid.

Ni chawsoch y fath fwynhâd yma am gryn ysbaid o'r blaen. Daethom yma atoch ar gais y brawd Jones i'w gynnorthwyo i adael ei fendith ymadawol ef gyda chwi, ac yn lled debyg ein bendith ninnau hefyd; canys teimlwn ein bod yn myned i'ch gadael yn Babilon, yn mhlith temtasiynau a dylanwadau drwg ac andwyol, y rhai sydd genych chwi yn gydradd â'ch cyd-ddynion, i'w eu gwrthsefyll; ond y mae genych fwy o nerth nâ hwynt i'w gwrthwynebu. Chwychwi ydych oleuni y byd,

a chwi sydd i fod yn llygaid i'r deillion, ac i ganfod drostynt Chwi sydd i weinyddu bywyd i'ch cydgreaduriaid sydd yn y tywyllwch, ac yn pechu yn eu hanwybodaeth, a chwi sydd i'w hysbysu o hyny.

Ymdrechwn gyferbyn ag i chwi gael nerth anorchfygol, a chael bod yn gastelli annynilladwy, cyhyd ag y cyflawnwch eich dyledswyddau, fel yr amddiffynoch y rhai sydd genych wyliadwriaeth drostynt; canys gwyddom mai yn herwydd hyn yr anela y diafol ei bicellau atoch; fod arnoch fwy cyfrifoldeb, ac y cewch fwy gwrthwynebrwydd nâ'r rhai hyny o'n brodyr a âat yn y boreu i waered i'r pyllau a llefydd ereill o'r fath i lafurio a thrafferthu yn galed,—i weithio yn debycach i beiriannau heiarnaidd nag i fodau byw, synwyrol a theimladwy, ac a ddychwelant adref yn yr hwyr yn flinedig ac awyddus am orphwys, nes methu o honynt ag ymarferyd digon ar eu galluoedd meddyliol i ddysgu ffyrdd yr Arglwydd. Am hyny chwychwi sydd i'w dysgu iddynt, a chwi sydd i sefyll o'u blaen i'w hamddiffyn, a chwi sydd i fod yn gyfrifol drostynt. Gŵyr y diafol hyny yn dda, ac atoch chwi yr anela; y mae efe yn ddigon hysbys o gynnyddiant dylanwad a nerth Seion, ac fe gynnydda ei wrthwynebrwydd yn gyferbyniol.

Mae y Brawd Jones yn wir wedi bod yn ŵr eadarn, amddiffynfaol a noddfaol i chwi; yr ydych wedi profi hyny, ac wedi edrych ato bob amser fel y cyfryw. Gallwch deimlo yr un fath tuag at y Brawd Daniels ei olynydd, ac y mae yn ddyledswydd arnoch i deimlo felly tuag at eich holl frodyr uwch na chwi yn yr Arglwydd. Ond, frodyr, yr ydym am i chwi deimlo eich bod chwithau yr un fath i ereill,—fod genych chwi ofal Cynnadleddau, ac fod genych i edrych at lesiâd a llwyddiant eich Saint, a'u porthi a bara y bywyd. Yr ydym am i chwi fyned ag ysbryd a nerth y dylanwad a deimlir yma iddynt, a gwneuthur i'r cenedloedd ei deimlo hyd eithafion Cymru, – o Gaerdyf i Gaergybi.

A ydyw Llywyddion y Cynnadleddau wedi dewis Cynghorwyr? [Y Llywydd Jones,—Nid ydynt ond nemawr o honynt.] Nid ydynt yn angenrheidiol chwaith mewn Cynnadleddau bychain, ond mewn Cynnadleddau mawrion lle y byddo y gwaith llywyddawl yn ormod i'r Llywydd gyflawni yr oll o hono ei hun bob amser. Nid yw yn angenrheidiol nac yn

fuddiol i'w cael ond lle y mae amledd o oruchwylion, a lle nas gall un dyn eu cyflawni. Y mae wedi myned yn arferiad as yn ddefod yma i bob Llywydd gael cynghorwyr, tra nad oes eu heisieu arno, ond i fyned i ryw lefydd i gyflawni rhai o'i ddybenion pan nad allasai gael amser i fyned ei hun. I'r perwyl yma y dewisais i y Brodyr Spencer a Wheelock. Ant hwy i lefydd a gwnant fy ewyllys yn union fel pe y gwnelwn fy hun. Fel hyny y dymunwn i'r Brodyr Ashby ac Evans fyned ag Ysbryd y Llywydd Daniels eu llywydd hwy gyda hwynt, ac ystyried fel pe'd y Llywydd Daniels ac nid eu hunain fyddent, —gwneuthur yr hyn a wyddant a wnelai efe ei hun, ac os gwnant felly, ennillant ffafr y bobl, a ffafr y brawd Daniels hefyd, a bydd gwenau Duw arnynt, eithr os mai fel arall y gwnant, yn wrth-gyferbyniol y bydd y canlyniadau.

Lle y mae Llywydd a chanddo Gynghorwyr nad ydynt yn adnabod eu llefydd, ag arno eisieu gwneuthur rhywbeth ni symudant fodfedd hyd oni argyhoedda efe hwynt ei fod yn iawn, ac y deuant i gydweled, a dyfod yn foddlon i gydweithredu ag ef. Y mae felly mewn Cangenau a Chynnadleddau lle y mae Cynghorwyr a feddyliant y dylent fod ysgwydd yn ysgwydd â'r Llywydd, gan ymyraeth â phethau nad ydynt mewn gwirionedd yn perthyn iddynt yn y mesur lleiaf.

Yn awr, Frodyr, yr wyf am i chwi fod yn awyddus i wybod meddwl ac ewyllys eich Llywydd yn Nghymru, ac i fyned a'i wneuthur, nad yn mha fodd ei cewch, pa un a'i trwy y Brawd Israel Evans neu B. Ashby, neu hyd y nod mewn breuddwyd, ond i chwi fod yn sicr mai ewyllys eich Llywydd ydyw. Os gallaf ddeall trwy ddim ond breuddwyd am gymmeradwyaeth neu anghymmeradwyaeth y Llywydd Brigham o unpeth a wnelwyf, neu ei ewyllys i wneuthur unrhyw beth, mae yn dda genyf gael deall mor gynted, fel y gwnelwyf yn fawr o'r amser i ymwellhau. Nid yw yn perthyn i chwi hyd y nod ammheu yr hyn a ddywedo eich uwchafiaid, na'u hammheu yn y mesur lleiaf, ond eich dyledswydd yw gwneuthur yr hyn a feddyliwch wna ryngu bodd eich Llywydd bob amser.

Mewn gweledigaeth a gefais or's peth amser yn ol gwelais fy hun draw yn y Dyffryn mewn ystafell fechan gyda'r Brawd Brigham a'i wraig. Dangosodd ei gymmeradwyaeth o rai mesurau a gymmerais yma, gan ddywedyd wrthyf am ddilyn

arnynt. Parhëais i deimlo felly hyd oni chadarnhawyd fi ynddo yn hollol gan lythyr y Brawd Brigham. yr hwn allwch oll fod wedi ei ddarllen, yn cymmeradwyo y dull a gymmerais, a'm cefnogi i ddilyn arno a gwneuthur cymmaint a allaswn. Pe digwyddasai fel arall, awn yn union a chynnaliwn uchel gynghor yn fy nghalon, a mynaswn ddeuddeg o'i phrif gynghorwyr pe y gallaswn eu cael yno, er edrych pa beth oedd o le, oblegid *yno* y byddai y drwg, ac nid yn un man yn uwch. Felly y dylech chwithau deimlo, frodyr, a gwneuthur yr un modd pan eich canmolir neu eich ceryddir gan eich Llywydd, a bydd yn y cyfryw fodd i geisio ei feddwl a'i ewyllys, hyd nes y byddwch maes o law yn cael eich llenwi eich hunain â dadguddiadau, ac na fydd braidd eisieu gofyn i chwi cyn y byddwch wedi ei rag-ddeall trwy yr Ysbryd.

Gochelwch rhag ymddadleu ac ymgecru â'ch uwchafiaid canys wrth ei wneutdur fe leinw yr un ysbryd Gangenau eich Cynnadleddau, a bydd genych y gorchwyl caled o'u hargyhoeddi bob un cyn y cewch ganddynt ufyddhau i chwi—hwynt hwy yn eu tro a ddadleuant ac a ymgecrant gyda chwi, a bydd genych fwrw yr ysbryd gwrthryfelgar a checrus allan o'u plith cyn y gwnewch un daioni o honynt.

Na fyddwch yn rhy fyrbwyll i geryddu neu i ddysgyblu, pan y troseddant, y rhai hyny sydd heb fod yn hir yn yr Eglwys, neu ag ydynt heb gael nemawr fanteision i adnabod eu hunain; eithr i'r rhai a ddylasent wybod gwell gellwch roddi ambell i gernodiad, a rhoddi ambell i wialenodiad iddynt. Pan yn ymwneyd â'r rhai blaenaf, cofiwch yn mha sefyllfa yr oeddech eich hunain pan y daethoch i'r eglwys,—yr oeddych yn gyffelyb fel pe buasech wedi eich lliwio yn y gwlan yn Babilon, mewn traddodiadau, ofer goel a mympwy ffol. Tra yr ystyiwch mai Duw, a Duw yn unig a'ch gosododd yn eich llefydd, golchwch eu llygaid â 'llaeth a dwfr,' ac eneinniwch hwynt ag 'eli llygaid.' Pan y ceryddoch hwynt, gwnewch iddynt deimlo ei fod oll er eu lles, mai eu lleshâd penaf a geisiwch, a hwy a'ch carant chwi am hyny. Yr wyf yn deall fod amryw wedi cael eu tori allan yn Nghymru, pan y daethont i fyny a llefaru yn fyrbwyll ac anystyriol yn eu moment gynhyrfiol ni arbedwyd hwynt, ac ni thrugarhawyd wrthynt yn eu hawr anhapus, ond fe'u torwyd ymaith gan y rhai oeddynt uwch na hwynt gan y meddent y

gallu i wneuthur hyny. Y mae amser yn dyfod pan yr edrychir yn fanwl pa fodd y defnyddiasom y gallu hwn, ac yr ydym ni yn bresennol yn cymmeryd arnom y cyfrifoldeb am gymmaint o hono a feddwn. Gan hyny, byddwn yn bwyllog ac yn ochelgar, a gweithredwn yn ol doethineb bob amser. gan ymddwyn tuag at y rhai sydd odditanom yn ol eu gwybodaeth, eu dealltwriaeth, a'u manteision.

Wrth ymddwyn gyda manylrwydd yn y pethau hyn,—cadw eich hunain mewn cysylltiad a'r rhai sydd mewn gallu yn uwch na chwi, ufyddhau i'w cynghorion, a cheisio deall yr hyn a awgrymant, ac a ewyllysiant osod mewn gweithrediad, ac iawn ddefnyddio y gallu a feddwch, chwi a wnewch yr hyn a ddymunwn, tuag at gael yr oll o ben bwy gilydd mewn trefn hyd nes y teimlir yr effaith trwy yr eang greadigaeth i gyd. Bydded gwyfrau yr hysbysydd trydanawl fel y dywed y brawd Martin, yn gyfan a dinam o ben bwy gilydd ac fe eheda trydaniaeth i eithafion daear; felly yr â gair y Brawd Brigham.

Gwelwch ynte mai y ffordd i chwi weithredu tuag at ddwyn hyn oddiamgylch yw, trwy dderbyn oddiwrth eich uwchafiaid, a throsglwyddo yr unrhyw i waered. Yn awr gwyddoch nas gall dyn ddysgu i arall y wers a gafodd heb fod yn alluog i'w deall a'i dysgu ei hunan yn ngyntaf. Gwyddoch hefyd ei fod yn ffaith fod yr Arglwydd wedi ac yn parhau i ddadguddio egwyddorion yr Efengyl yn yr iaith Saesonaeg. Yn awr, tybiwch na fyddai neb o honoch yn Nghymru ond y brawd Jones yn deall Saesonaeg; meddyliwch hefyd y byddai yr Eglwys yn Nghymru yn fechan ac yn wan, a'i moddion yn brin, ac nad allasai y br. Jones gyhoeddi yr oll a ddymunai trwy yr *Udgorn*. byddai i'r egwyddorion a ddylasech chwi gael fyned megys ffrŵd ormodol nad elai trwy yr un arllwysfa fechan at yr olwyn yn gorlifo ei geulanau a rhedeg yn ofer a diddefnydd; eithr pe agorech ychwaneg o arllwysfeydd, fe ymruthrai yr holl ffrŵd i waered drwyddynt yn ei nherth ar yr olwyn, yr hon a dröai gymmaint cyflymach a mwy nerthol. a chyflawnai gymmaint mwy o waith. Tybiwch eich bod yn nesaf yn cael pob Llywydd dros bob Cynnadledd a Changen yn Nghymru i ddysgu a deall Saesonaeg yn ogystal â'r Br. Jones, yna darllenent y *Star*, y *Journal of Discourses*. &c., yn ogystal â'r UDGORN; caffech gynnifer amlach arllwysfa o'r un ffrŵd risialaidd o'r bur ddysg-

eidiaeth oddifry, a chaffai yr effaith cynnyddol cyfrbyniol ar waith Duw yn Nghymru.

Bydded i'r rhai sydd wedi ac yn dyfod i'r Eglwys yn Nghymru gael arddeall genych mai cyhyd ag y byddont heb ddysgu Saesonaeg, fod megys llèn rhyngddynt â'r Saint yn Seion, a'r canlyniad yn mhen amser fydd iddynt beidio a'ch gorlwytho chwi, eithr gwnant lawer drostynt eu hunain wrth ddarllen y llyfrau.

Ar dro yn ddiweddar pan yn gofyn helynt y Brawd Jones cefais ei fod wedi ei lwytho i'r llawr gan oruchwylion amlaol, a gofalon pryderus gyda eu holl drafferthion,—carneddau o fusnes yr ymfudiad, cyhoeddi, llywyddu, a busneson eglwysig ereill yn ymlwytho arno hyd nes y syrthiodd yn glaf, ac y bum bron a gofyn os oeddech yn bwriadu i ddo roddi ei esgyrn i lawr yn Babilon.

Pan yr eloch adref i'ch gwahanol Gynnadleddau, ewch a'r addysgiadau hyn (ar iaith) gyda chwi megys trysor i, ac nid gorfodiaeth ar y Saint, ac na ddywedwch "fod yn *rhaid* iddynt ddysgu Saesonaeg neu gael eu tori allan o'r eglwys," na dim o'r fath beth; eithr gwerthfawrogwch ac ymarferwch chwi hi eich hunain, a hwy a hoffant ei phleserau gwahoddiadol yn naturiol, a hwy a ddilynant eich esiampl, ac yn mhen tua blwyddyn arall chwi a gewch weled y bydd gallu Duw wedi cynnyddu llawer yn Nghymru.

Ceisiwch gael y cyfryw frodyr i gyd-lafurio â chwi ag ydynt awyddus am ddysgu Saesonaeg. Pan y byddwch wedi meistroli yr iaith, byddwch gymmaint gwell o ddeall y ddwy iaith ag yw dyn yn well o feddu dwy fraich yn hytrach nag un,—gallwch bregethu i'r byd yn Gymraeg, ac wedi y delont i'r Eglwys gallwch eu cynnorthwyo i ddysgu Saesonaeg.

Gan fod yr iaith Saesonaeg wedi cael ei dewis yn gyfrwng i gyfrinachu yn Seion, a thrwy fod y Saint yn mhob cenedl i'w dysgu, dwg bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl yn Seion i allu deall, siarad, a chyfrinachu â'u gilydd. Onid peth dymunol fyddai hyny, Frodyr? [Ië, ïe, oedd yr ateb.] Pe buasai yr Arglwydd wedi dewis yr iaith Gymraeg i'r dyben hyny, byddai gan bawb Saint i'w dysgu, ac myfi a'i dysgwn gyda'r pleser mwyaf.

Yr ydym yn myned i osod dwylaw ar y brodyr (y Lywydd-

iaeth Gymreig) i'w bendithio, eu darparu, a'u neillduo i'w gorchwylion pwysig,—i gyflwyno iddynt fendith a deimlir trwy yr holl Eglwys yn Nghymru.

[Terfynodd gan annog y Llywyddion i fod yn dirion wrth ac yn gyfeillgar â'r Saint gweinion yn neillduol. I fod yn llygaid iddynt, a chanfod drostynt yn mhellach yn mlaen nag y gallant hwy weled. Dangos iddynt pa fodd y gallant ymgynnilo a sefyll eu sylltau a'u punnoedd, a trefnu fel hyn neu fel arall, gogyfer ag ymfudo. I fudo cynnifer a allant o honynt o'u Cynnadleddau; mewn gair, i fyfyrio eu lleshâd penaf yn mhob peth, a bod megys rhieni iddynt, a'u hadeiladu yn y santeiddiolaf ffydd.]

Y Llywydd D. Spencer,—Ystyriaf mai mawr yw eich braint o gael yr addysgiadau a gawsoch, y byddant o fawr fendith i chwi, eu bod yn tueddu i'ch gwneuthur yn ddynion cedyrn a nerthol, ac y galluogant chwi i weinyddu bywyd ac iachawdwriaeth i'r rhai sydd odditanoch. Gwn eu bod yn anhebgorol er eich llwyddiant, ac y byddai eich llafur yn ofer hebddynt.

[Meddyliodd eu bod yn teimlo yn wan megys y teimlodd yntau pan y dechreuodd ei waith yn y weinidogaeth gyntaf; er hyny, hwynt hwy oeddynt y bobl a ofynai Duw, ac nid doethion y byd a'r cyfoethogion. Gan mai y tlodion yn fwyaf neillduol a ddewisodd Duw i fod yn bobl iddo, ceisiai ddynion o'u plith a adwaenent eu sefyllfa i weinidogaethu iddynt, ac yn mhlith pethau ereill er calonogi y Llywyddion, dywedodd:—] Yr ydych chwi yn brofiadol o'u cystuddiau, ac wedi bod yn y pyllau glô, a gwahanol lefydd o'r fath, yn cyfranogi o honynt gyda hwynt. Pe gorfod fyddai i rai o'r gweinidogion a'r doethion sectyddol fyned lle y buoch chwi i achub y bobl, byddent yn rhy anghalonog; ymddychrynent a rhedent allan. Er y dichon eich bod yn teimlo yn wanaidd, chwychwi yw y dynion mae Duw yn ymofyn, ac nid yw Efe yn gweled un dosparth arall o ddynion yn debyg i chwi. Pan yr eloch at y bobl cewch deimlo megys cewri,—gwyddoch eu hanghenion, a pha beth sydd yn addas iddynt. Gallwch ymddarostwng atynt, ennill eu serch, a'u dyrchafu yn raddol at safon gwirionedd a chyfiawnder. Nis ofnant chwi, eithr dadlynwesant deimladau eu calonau i chwi.

Chwi a gofiwch ac a deimlwch nerth a gallu geiriau y Brawd

Franklin, ac a deimlwch dros angenion y bobl, a chwi a ewch allan yn ngallu Duw i weinyddu iddynt. Yr wyf yn dywedyd wrthych fod pob un o honoch yn well na deng mil o offeiriaid a gweinidogion sectyddol wedi eu cyssylltu yn un, gyda'u holl gyfoeth, eu dylanwad, a'u poblogrwydd. Mae yr Arglwydd yn gwybod hyny, a thyna paham y galwodd chwi i'r lle yr ydych ynddo, ac yr wyf am i chwi deimlo hyny a gwneuthur felly, a'r Arglwydd fo gyda chwi yw fy nymuniad yn enw Iesu Grist. Amen.

[Wedi i'r Llywyddiaeth Gymreig a Llywyddion y Cynadleddau gael eu bendithio, &c., dywedodd y Llywydd Richards ei fod yn teimlo dros y brodyr ffyddlon o'r Gogledd ag oeddynt yn absennol, o herwydd fod eu ffordd yn mhell a'u modd yn brin feallai.] Ond, (meddai) fe â ysbryd, dylanwad a bendithion y Cynghor hwn iddynt, a hwy a wnant i ogledd Cymru ei deimlo. Fe â i bob Cynnadledd i'r holl Offeiriadaeth yn Nghymru, sy'n byw yn iawn, ac fe gaiff Cymru ei deimlo etto o'r naill ben i'r llall iddi.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MAWRTH 15, 1856.

Yr Hysbysiad i Ymfudwyr,—A geir mewn man arall o'r rhifyn hwn, a deilynga sylw manylaf y Saint—treiddied y Llywyddion i mewn iddo yn fanwl, ac achubant bob cyfle i'w roddi mewn gweithrediad hyd ag y mae yn bosibl. Chwilier gan bwy y mae pum punt, a rhodder hwnw at arall a fedd yr un faint, a dewiser pwy o'r ddau a gaiff fudo y tro hwn, ac anfoner ei enw ynghyd ag enw y cyfranwr arall i ni, a phob manylrwydd, fel y caffo y llall fudo y flwyddyn nesaf.

Lle y byddo teuluöedd allant gyfranu £5, £10, neu chwaneg i'r D. Y. Barhaus, os na wyddant am arall a wna yr un modd

gwyddom ni am amryw, a chaniataer i ni ddethol drostynt, canys byddant yn sicr drwy hyny o allu anfon y tro nesaf gynnifer o'r teulu ag a anfonant o £5 i ni. Wrth wneyd fel hyn gellir ennill yr hyn a gluda y gweddill o'r teulu y tro nesaf gyda eu gilydd ond odid, o leiaf arbedant hanner y gost o ymfudo drwy hyny.

Yr achos paham y gofynir £10 i fudo yn y ffordd hyn tra y cludir ereill gyda y ddauolfenni am £9 yw, o herwydd na wyddys yn gywir beth a gostia y cludiad drwy yr anturiaeth anmhrofiadol hon, ac na ellir gwybod hyd nes y cyrhaeddir y pen draw i'r daith, pryd y dysgwylir i'r ymfudwyr gyduno i dalu y gweddill a gostia wrth gwrs. Achos arall yw, o herwydd y bydd raid i Gwmpeini y D. Y. Barhaus fenthyca yr arian i gludo yr hanner arall o'r ymfudwy. yn y flwyddyn ddyfodol mae yn debyg, a mwy na thebyg y rhaid iddynt dalu llôg am eu benthyg; yr hyn a ddengys y rhesymo e wneuthur y gwahaniaeth rhag-grybwylledig yn y prisiau.

Drwg genym ninnau hefyd na fuasai chwaneg o'r meddianau a aprhegwyd i'r D. Y. Barhaus gan y Llywydd ac ereill wedi cael eu gwerthu, fel y gallesid dethol chwaneg o Saint ffyddlon o chwe blwydd oed yn yr eglwys ac uchod i ymfudo eleni; eithr nid yw ein gofid ni ac ereill yn gwella y mater ronyn; a gwnaethom ni ein goreu i werthu chwaneg o hono. Anfonasom enwau y rhai a etholwyd i'r fawr-fraint o ymfudo eleni drwy y moddion a werthwyd eisoes i'r Llywyddion, eithr os metha rhywrai ymbarotoi i fyned yn ol y galwad, crefwn arnynt ein hysbysu gyda throad y *Post*, fel y caffo arall y cyfleu yn brydlon.

Ymdreched pob un gynnilo hyd y gallo a dysgw liwn y rhoddir y gweddill a feddir dros ben talu eu dyledion a myned i Liverpool, i gynorthwyo talu eu cludiad; canys anonestrwydd, fel y dywedasom eisoes pan yn gofyn enwau y rhai teilwng, fyddai gofyn cymhorth y D. Y. Barhaus tra yn llogellu arian eu hunain. Caniataer i ni etto rybuddio ymfudwyr y dosparth hwn rhag gorlwytho eu hunain â nwyfau, eithr gwerthu yr oll a allant heogor ar y daith rhag mai eu gadael fydd raid cyn cychwyn ar y *Plains* neu adael eu hunain gyda hwynt.

*Yn awr*, Frodyr Llywyddol! yw yr amser i chwi ddangos

eich hunain yn fedrus a dyngarol drwy wneyd hyn gyda brys a manylrwydd, canys, nid oes amser i'w golli, onide bydd yn rhy ddiweddar i neb barotoi i ymfudo pe bae ganddynt fodd.

Hyderwn na chaiff yr anghenfil llygad wyrdd—eiddigedd chwythu ei wenwyn ar draws neb o'r Saint na allant fyned eu hunain y tro hwn, yn ogystal a'u cymmydogion a feddyliant hwy nemawr gwell nâ'u hunain, ond yn hytrach llawenhau fod mynediad y lleill yn argoelion o ddynesiad eu gwaredigaeth hwythau os parhant yn ffyddlon.

---

AMSER YR YMFUDIAD!—Bwriadwn i bawb fod yn barod i adael eu cartrefleoedd diwedd y mis hwn o bellaf. Ac er nad yw y llong wedi ei llogi hyd yn hyn, credwn y gellir cael un a fyddo yn cychwyn o Liverpool yn yr wythnos gyntaf yn Ebrill. Yr ydym wedi oedi yr amser i gychwyn hyd yr awr olaf hon, rhag bod un yn cael ei adael ar ol a allo fyned y pryd hyny.

Deallir drwy yr UDGORN blaenorol fod yr holl ymfudwyr o Gymru, nad pa un ai gyda y wageni, y ddauolfeuni, neu i'r Taleithiau, yn cael myned gyda ein gilydd ar yr amser cyfeiriedig, os gellir cael llong ddigon mawr i'r oll.

---

MYNEDIAD YMFUDWYR O GYMRU. Hwyliodd tua 120 o Saint o Liverpool ar fwrdd y llong "Caravan" tuag Efrog Newydd ar y 17 o Chwefror, oll mewn iechyd a llawn hwyl; cawsom y pleser o'u cyfarwyddo ar fwrdd y llong oll yn ddiddamwain, mewn ysbryd rhy awyddus am y gorllewin pell i feddwl am droi i edrych yn ol fel y gwnaeth gwraig Lot yn hiraethog am ei chartref. Cawsant wynt teg am hir ddyddiau. Mordaith fèr a hyfryd iddynt.

---

AT LYWYDDION A DOSPARTHWYR—Dysgwyliwn yn bryderus yr ystyrir yn ddyladwy fod ein hamser ni i'ch gwasanaethu drwy yr UDGORN bron ar ben, fod ein busnes rhyngoch chwi a'r Swyddfäau yn terfynu gyda y rhifyn nesaf, ac y bydd i'r ystyriaeth hyny eich cymhell, heb i ni ynganu chwaneg i dalu yr hyn sydd ddyledus ar eich Cynnadleddau i ni yn bersonol, sef yr arian a fenthyciasom i dalu eu dyledion drostynt, ac y gwelwch fod y Dosparthwyr oll yn anfon yr oll a allant am lyfrau o hyn i hyny; fel trwy hyny y galluogir ni i settlo ag

ereill, ac i orphen ein gweinidogaeth yn hyny, a chwblhau ein llyfrau cyfrifon rywbeth yn debyg i'r drefn a ddymunem adael arnynt i ereill. Ymddibynwn ar eich hynawsedd i wneuthur hyn o gymmwynas a'ch hen gyd-filwr, Frodyr. Mae cryn esgeulusdod wedi bod eleni eisoes i dalu arian y llyfrau ac mae wedi myned braidd yn rhy ddiweddar i'w ddiwygio er lles i ni, oddieithr yr hyn a ellir wneuthur o hyn hyd yr 28ain o'r mis hwn. Am y cyntaf i brynu hyny o amser, ynte."

---

## YR YMFUDIAD.

36, *Islington, Liverpool, Mawrth* 5, 1856.

*At Saint y Dyddiau Diweddaf yn Lloegr, Ysgotland, a'r Iwerddon, ydynt wedi bod yn aelodau o'r Eglwys am* ddeng mlynedd ac uchod; *ac at y rhai yn Nghymru ydynt wedi bod yn aelodau am* chwe blynedd ac uchod.

O herwydd y gwerthwyd cyn lleied o'r meddiannau a anrhegwyd gan y Llywydd B. Young ac ereill i'r D. Y. B.; ac o herwydd amrifed y personau a anfonwyd am danynt o'r wlad hon gan Gwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus, cwttogir y moddion sydd yn ein dwylaw at wasanaeth y cyfryw o'r Saint rhag-grybwylledig a enillasant aelodiaeth deilwng am ystod yr amser rhagenwedig. Ni bydd yr etholiadau, o ganlyniad, ond ychydig, a'r rhai hyny o blith y rhai teilyngaf a mwyaf anghenus.

ddymuna llawer, ond odid, o'r rhai a gyferchir yn yr hysbysiad hwn ymgasglu tua Seion yn y flwyddyn hon, eithr ni allant grynhoi mwy nâ £5 yr un ar eu rhan eu hunain a'u plant sydd yn flwydd oedran ac uchod, a £2 10s ar gyfer eu babanod sydd o dan flwydd oed, yr hyn sydd annigonol i'w cludo yn mhellach nâ'r Taleithiau oddieithr iddynt gael cynnorthwy amgen nag a feddant yn bresennol.

Cynnygiwn, er cynnorthwyo y cyfryw i gyrhaedd eu hamcanion eu bod yn cyfranu eu moddion i'r Drysorfa Ymfudol Barhaus; a chynnygiwn dros y D. Y. Barhaus gludo *hanner* eu nifer i Utah y tymmor hwn, ac addawwn gludo yr *hanner arall* y flwyddyn nesaf, gan ei adael i'r Bugeiliaid a'r Llywyddion,

gyda'r cyfranwyr, i benderfynu pwy yn mhlith y rhai olaf a ffurfiant yr hanner cyntaf.

Os mai gwell fydd gan y rhai hyny o'r Saint ag y cyfeiriwn atynt yn yr hysbysiad hwn beidio ymfudo yn mhellach nâ'r Taleithiau, cânt ein cymmeradwyaeth a'n bendith wrth wneuthur felly: yr un fath a phe dewisent y cynllun a awgrymir yma. Ein hamcan yw estyn yr holl gynnorthwy a allwn i'r dosparth yma o Saint yn eu hymdrechiadau i ymfudo tuag Utah. Er hyny, fe allai fod gan rai berthynasau neu gyfeillion yn y Taleithiau â'r rhai y dymunant ymuno, ac felly bod yn gynnorthwy i'w gilydd yn y gwaith mawr; am hyny, penderfyned pawb yn eu meddyliau eu hunain, a chymmerant y cyfryw ffordd ag y gweithredant y ffydd fywiocaf, ac y mwynhant y mesur mwyaf o'r Ysbryd Santaidd.

At Fugeiliaid a Llywyddion.—Anfoner i ni enwau a manylion ereill y Saint hyny a fabwysiadant y cynllun o gyfranu eu harian fel y nodir yma ar wahan oddiwrth bob rhai ereill.—Anfoner i ni enwau a chyfeiriadau yr holl gyfranwyr, ynghyd a'r arian; ac enwau, oedranau, galwedigaethau, a chyfeiriadau y rhai a ddewisir i fyned allan y flwyddyn hon i ni yn ddioed.

Darllener yr Hysbysiad hwn yn union yn nghyfarfodydd y Saint, a gwneler ei amcan yn hysbys i bawb y perthyna iddynt.

F. D. Richards,
Daniel Spencer,
C. H. Wheelock.

*Llywyddiaeth Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn yr Ynysoedd Prydeinig a'r gwledydd cylchynol.*

---

## PREGETH

*Gan y Llywydd B. Young, a draddodwyd yn Nghymmanfa Hydref yn Ninas y Llyn Halen Mawr, 1855.*

[Parhad o dud. 57.]

Dygwyd rhai o honoch gerbron yr Uchel Gynghor i ateb am wahanol gyhuddiadau, a dywedwch ei fod yn ormod i chwi, ac nas gallwch ei oddef. Ond y mae genych ei oddef, ac os na

wnewch, gwnewch i fyny eich meddyliau i fyned i uffern ar unwaith i roi terfyn arni Os dymunwch fod yn Saint, rhaid i'ch drygau gael eu dynoethi, a'u tynu o honoch, rhaid i hyn gael ei wneuthur os rosw c i yn nheyrnas Dduw. Os gwnewch yn feius, ac yr amlygir eich drwg o flaen yr Uchel Gynghor, nac achwynwch o'i blegid, na thuchan o herwydd eich hoff gymmeriad gwerthfawr, eithr ystyriwch nad oes genych yr un, dyna'r ffordd oreu i fyned yn mlaen. Y mae lluoedd wedi fy ngwarthruddo i oddiar pan yr wyf yn yr Eglwys hon, a gofynwyd i mi, "Frawd Brigham, A ydych chwi yn myned i oddef hyn? A wyddoch chwi fod y personau hyn neu y lleill yn gwarthruddo eich cymmeriad?" Meddwn i, "Nid wyf yn gwybod fod genyf yr un cymmeriad, nid wyf erioed wedi aros i holi pa un a feddaswn un ai peidio. Y mae i mi ddilyn llwybr a adeilada deyrnas Dduw ar y ddaear, a chwi a allwch gymmeryd fy nghymmeriad i fod yn beth a fynoch. Nid wyf yn prisio pa beth a wnewch chwi o hono, ond i chwi gadw eich dwylaw i ffwrdd oddiwrthyf. . . . . . . .

Am i drigolion y ddaear a wyddont rywfaint am Formoniaeth fod yn alluog i'n cam-en i, ein bygwth, a dweyd gwaeth pethau yn ein herbyn nag y maent yn ddweyd, y mae ganddynt i wybod ychwaneg yn nghyntaf cyn ei gwnant, ac am fod i'r gelynion hyny sydd wedi bod yn ein mysg deimlo yn waeth nag y maent, y mae ganddynt wybod ychwaneg yn nghyntaf, y maent mor llawn o deimladau drwg yn awr ag a allant gynnwys heb ymhollti. Beth ydwyf fi yn brisio am lidiawgrwydd dyn? Dim mwy nag am y cywion a redant o amgylch fy nhy. Yr ydwyf fi yma i ddysgu ffyrdd yr Arglwydd, ac i arwain dynion i fywyd tragywyddol, eithr os na ewyllysiant fyned yno, ewyllysiaf innau iddynt gadw o'm ffordd.

Yr wyf am i Henuriaid Israel ddeall, mai pan y dynoethir eu beiau nad ydynt i ddigio, canys bwriadwn eich cyhoeddi o bryd bwy gilydd, fel y mynom ni, pan y caffom amser i sylwi arnoch.

Yn ystod y Gymmanfa hon, nid wyf am feddwl lle y buodd y Mormoniaid, na pha fodd yr ymddygwyd tuag atynt, eithr yr wyf am feddwl am faterion a wnant fy nghalon yn ysgafn fel yr ewig ar y mynyddau,—i adgofio fod yr Arglwydd Hollalluog wedi rhoddi i mi enedigaeth ar y tir lle y cyfododd brophwyd,

ac y dadguddiodd yr efengyl dragywyddol drwyddo. ac am fy mod wedi cael y fraint o'i chlywed—o'i hadnabod a'i deall—o'i hefalychu a'i mwynhau. Teimlaf fel pe y bloeddiwn Halelwia yr holl amser pan y meddyliaf i mi erioed adnabod Joseph Smith, y Prophwyd a gyfododd ac a ordeiniodd yr Archwydd, ac i'r hwn y rhoddes allweddau a gallu i adeiladu a chynnal teyrnas Dduw ar y ddaear. Trosglwyddwyd yr allweddau hyny i'r bobl yma, ac y mae genym ni allu i barhau y gwaith a ddechreuodd Joseph, hyd nes y darperir pob peth gyferbyn â dyfodiad Mab y Dyn. Dyma yw busnes Saint y Dyddiau Diweddaf, a'r holl fusnes sydd genym mewn llaw ydyw hyn. Pan y delom at bethau bydol fel eu gelwir, fe ellir eu gwneuthur mewn tywydd ystormus, os edrychwn at deyrnas Dduw mewn tywydd teg."

---

## ANNERCHIAD Y LLYWYDD DANIEL DANIELS AT LYWYDDION Y CYNNADLEDDAU.

*Abertawy, Mawrth 10, 1856.*

ANWYL FRODYR,—Mae aml ofyniadau y fusnes yn galw am eich sylw manylaf, oblegid trwy gyflawni eich dyledswyddau y derbyniwch nerth a gallu i droi yn anrhydeddus yn y cylchoedd pwysig eich hetholwyd iddynt.

Yr wyf yn teimlo i'ch hadgoffhâu o rai o'r prif bethau ag sydd genych i'w cyflawni. Mae yn debyg eich bod yn cofio y cynghorion dwys a gawsoch yn Nghynghor diweddar Merthyr, i chwilio yn egnïol a diorphwys am yr holl Saint a allant fudo o'ch Cynnadleddau trwy wir ymdrech y tymmor hwn. Dymunir arnoch fyned a nerth bywyd ynoch a mynu deall sefyllfa Saint eich gofal, nes cael gwybod pa nifer a feddant £9 yr un, i fyned gyda'r ddauolfenni.

Eich dysgeidiaeth fyddo fel tân ar groen y rhai difater, gan eu cynhyrfu at eu dyledswyddau, nes cael pob swyddog ac aelod i wrando ar lais, a chyflawni cynghorion yr UDGORN,—i werthu eu hen ddelwau, eu celficach, a phob peth dianghenrhaid, ac i wneuthur pob ymdrech cyfreithlon tuag at feddu £5 yr un i'w hanrhegu i'r D. Y. Barhaus, naill ai i fyned ffwrdd eleni neu i gael yr hawlfraint o fyned ffwrdd y flwyddyn nesaf,

ac anfon yr arian yma yn ddioed. Prif amcan yr annerchiad yw cael hyn oddiamgylch.

Hyderaf fod llawer yn eich Cynnadleddau sydd yn alluog i wneyd fel y nodwyd uchod, ond cofiwch nad oes dim amser i'w golli yn hyn.

Yr ydym yn dysgwyl i mewn yr hyn a osodwyd arnoch yn Nghynghor Merthyr; y mae rhai Cynnadleddau wedi eu hanfon.

Hefyd, na adewch eich Dosparthwyr llyfrau yn llonydd, hyd nes cewch weled y Cangenau yn ddiddyled, fel y byddoch chwi a hwythau yn barod pan ddaw yr alwad. Nid yw arian y llyfrau yn dyfod i mewn fel y dylent; y mae rhyw rwystr yn rhywle,—chwilier ef allan, a symuder ef gyda brys, nes y gwelwch hwynt yn cychwyn fel o'r newydd.

Frodyr, y mae yn ofynedig arnom fod yn ddyfal nid yn unig gydag un ddyledswydd, ond yr oll. Y mae gwaith o ganlyniadau mawr iawn wedi ei roddi arnom i'w gyflawni. Hyderaf eich bod o foreu hyd yr hwyr ar eich maesydd llafur yn edrych ar ol praidd eich gofal, ar fod y cynheuaf yn cael ei gario yn mlaen yn drefnus. Edrychwch ar fod y Saint yn cyflawni eu holl ddyledswyddau teuluaidd ac eglwysig, a'u bod yn ymborthi ar y bara bywiol oddifry, fel y byddont yn rymus yn gweithio tra y mae yn ddydd, fel y caffom y cynheuaf i ben a'r gwenith i'r ysgubor mewn pryd. Myfyriwch yn nghyfraith Duw nos a dydd, a dysgwch hi i'r bobl, gan eu coffhâu yn aml fod y Deml heb ei gorphen, ac ei fod yn ddyledswydd arnynt ac yn fraint iddynt gael cyfranu tuag ati. Hefyd, fod Duw wedi rhoddi ei gyfraith mor drefnus i'r Prophwyd Brigham mewn perthynas i'r D. Y. Barhaus, trwy yr hon y mae tyrfa yn canu yn hwylus ar ben eu taith; nid oes dim yn eisieu ond ffyddlondeb, yna cyrchir yr olaf adref yn y man; ac hyny yw gwir ddymuniad eich cyd was,

D. Daniels.

---

## Y MADAWGIAID.

Ar cymaint a amheua ereill ar yr hanes o fod Madawg ab Owen Gwynedd wedi darganfod yr Amerig o flaen Columbus, caws-

om ni brofion boddhâol o'r ffaith yn ein hymchwiliadau dros y cyfandir am yr "Indiaid Cymreig" yn ystod yr ugain mlynedd mynedol, a chan ein bod yn penderfynu cychwyn etto yn niwedd y mis hwn ar ymchwiliad didroi yn ol os ydynt ar dir y byw, erefwn ar y sawl a fedd hanes cywirach neu helaethach nac a ddyry "Powell," neu y "Trioedd" am ymadawiad Madawg o'r wlad hon, neu am ei olynwyr yr ochr draw i'r môr, i ein cynnorthwyo yn ein hanturiaeth, nid a'u harian, ni ofynwn hyny, ond ag hanesion a'n hwylusant i gyrhaedd yr amcan a gostiodd i ni rai canoedd eisoes.

Os gwêl Golygyddion yr "Amserau," y "Gwron," y "Cymro," neu arall ddyn a gâr ei ach yn dda i roddi y deisyfiad hwn o flaen llygaid eu darllenwyr, efallai y dênant rywrai i ddod a'u trysorau allan o'u hen Lyfr-gelloedd i oleu haul ac y caffent y pleser o hyny cynt i ddarllen fod y ddadl wedi ei thori, y pwnc wedi ei brofi a'r Madawgiaid wedi dyfod i'r goleuni hefyd. Dewiser y cyfrwng i'n hysbysu o'n rhan ni, os nad amgen, cyfarwydder at Olygydd "Udgorn Seion," Abertawy.

---

WESTERN STANDARD yw enw cyhoeddiad wythnosol a fwriada George Q. Cannon gyhoeddi yn San Francisco California am tua £1 yn y flwyddyn, ag a ellir gael drwy Swyddfa y *Millenial Star*, 36, Islington, Liverpool. Mae medrusrwydd a doethineb y Golygydd yn rhy gyhoeddus i fod eisieu dweyd dim am ddyddordeb y cyhoeddiad, ond yn unig ei fod o dan nawdd y Brif Lywyddiaeth yn Seion, ac fod ei fanteision yn gyfryw ag a'i gwna yn *ffynonell* newyddion y byd pellenig ac auraidd hwn. Rhwydd hynt i'r anturiaeth, llanwer ei Olygydd â doethineb oddi fry, a gwasgared y "WESTERN STANDARD" ef dros y byd.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O CHWEF. 9 HYD MAWRTH 13.—Thomas D. Evans, 19s 5½c; John Richards, 3s 9c; John Gibbs, 12s 6c; Wm. Lewis, £6 5s; Thomas Stephens, £5 18s.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 7.] MAWRTH 29, 1856. [CYF. IX.

## CRYNODEB O DDYSGEIDIAETH Y LLYWYDD DAN JONES, YN NGHYNGHOR CYFFREDINOL MERTHYR-TYDFIL, CHWEFROR 23, 1856.

GALWODD y Cynghor i drefn, a dywedodd,—Teimlaf gryn siomedigaeth o herwydd nad yw ein Llywyddiaeth, [dros yr Ynysoedd Prydeinig] a'n brodyr eraill [yr Henuriaid Americanaidd] wedi dyfod yn brydlon i'n Cynghor yma yn ol ein dysgwyliad, a chredaf eich bod chwithau yn teimlo yr un modd.

[Wedi i'r Henuriad Israel Evans weddio, dywedodd]—

Gan na ddaeth ein Llywyddiaeth, meddyliaf mai gwell fydd i ni [Llywyddiaeth yr Eglwys yn Nghymru] dreilio yr amser i gyfarwyddo a dysgu y gwahanol Lywyddion sy'n bresennol.

Anwyl frodyr,—mae eich hymddangosiad yma heddyw, a'r gost a'r drafferth yr aeth llawer o honoch iddynt i ddyfod yma o bell, yn profi eich cariad at y gwaith dwyfol hwn, yr hwn a garaf innau gymaint fel nas gallaf lai na charu y rhai a'i carant i'r graddau ei gwnelont. Daethoch yma er cael dealltwriaeth helaethach o hono, ar yr hon ddealltwriaeth y dybyna ei lwyddiant yn eich Cynnadleddau.

Dymunaf ar i Lywyddion blaenorol a phresenol y Cynnadleddau yn hytrach nag eistedd yn gymmysgedig â'r dorf ddyfod i'r tu blaen, fel pan lefarwyf y gwelwyf wŷn eu llygaid, y syllwyf i'w gwyneb, a mwy nâ hyny, pe gallwn,—i edrych i waered i'w geneuau, a darllen meddyliau a bwriadau eu calonau.

 [PRIS 1g.

Gweision Duw ydym, a chyfranogwyr o'r Offeiriadaeth Santaidd ag sydd yn ol urdd Mab Duw,—o'r Lywyddiaeth hono sydd i lywodraethu pawb a phob peth ar a than y ddaear. Ar y gallu hwn yr ymddybynwn am bob cyfarwyddyd a deall-twriaeth anghenrheidiol, ac ynddo yr ymddiriedwn am nerth i weithredu. Pan yr iawn ystyriom hyn, ein hanalluogrwydd a'n diffyg doethineb ein hunain, gwelwn yr anghenrheidrwydd o hono a'r rhwymau sydd arnom i fod yn ostyngedig o flaen y Duw holl-gyfoethog a'i cyfrana. Mae profiad mynedol wedi profi i ni nad boddhâd o'n teimladau na'n mympwyau ein hun-ain yw "Mormoniaeth." Cul yw ei ffordd a chyfyng yw ei phorth hi. Po gulaf y ffordd a rodiwn po caethaf y gorchymyn-ion a gawn, a pho anhawddaf i'w cyflawni. Dybyna y cyf-lawniad o honynt ar y cyfarwyddyd a'r ddealltwriaeth a gaffom, yn ol pa rai y gweithredwn; o ganlyniad, gwelwn y pwysigrwydd o gael a deall o honom yr iawn gyfarwyddyd, gan fod tynghed ein heneidiau yn dybynu ar y cyflawniad o hono. Pellaf i gyd y rhodiwn ar hyd y ffordd hon culhâ o hyd, er fod ein breintiau a'n bendithion yn mwyhau,—neu mewn geiriau ereill, po fwyaf ein dysg a'n profiad po fwyaf ein deall-twriaeth, a pho fwyaf ein dealltwriaeth, ynte, po fwyaf ein cyfrifoldeb. Nid yn unig cyfrifoldeb personol, eithr cyfrif-oldeb ereill sydd arnom hefyd. Cynnrychiolwyr ydym, wedi dyfod yma dros ereill i dderbyn addysgiadau, ar yr iawn ddealltwriaeth o ba rai y dybyna bywyd neu farwolaeth y rhai a gynnrychiolwn. Er i chwi iawn ddeall drostynt, a bod yn enau ac yn glustiau iddynt, yn galon agored y byddoch, ac ysbryd y gwirionedd a'ch goleua yn hyny, fel y dealloch ac y derbynioch bob gair a ddaw allan o enau Duw i chwi, ac i Saint eich gofal hefyd.

Mae'n wir fod yr ysgrythyrau wedi ac yn bod yn dda i gyf-arwyddo dynion at gael cyflawniad o'r un addewidion ag a gafodd ereill gynt. Nid ar bob gair a ddaeth allan o enau Duw ond "pob gair a *ddaw*" y byddwn ni byw; nid oes wa-haniaeth pa fodd y daw, pa un ai drwy ysgrifeniadau, gweinid-ogaeth angylion, neu drwy yr Offeiriadaeth sydd yn fyw. Pe cymmerem y Beibl yn unig safon heddyw, gorfodid ni i chwilio ei dudalenau yn ofer am gyfarwyddiadau uniongyrchol i gyf-ateb i'n hamgylchiadau, ond nid oes nemawr waith genym i honi

ein hawl-fraint, ac edrych tua'r nefoedd am fesur digonol o'r Ysbryd hwnw a gafwyd gynt i wneuthur Beibl.

Y rhan fwyaf neillduol o'n crefydd ag sydd gyda ni i ymwneyd â hi heddyw yw y fusnes,—y rhan weithredol, yn cynnwys y fasnach a'i holl drafodaeth. Mae y sectariaid crefyddol yn gwahaniaethu rhwng yr hyn a alwant yn grefydd â'r pethau tymmorol, gweithredol, neu fasnachol. Ystyriant mai y gweithredoedd ysbrydol yn unig yw y rhai crefyddol, ac mai y rhan ysbrydol yn unig yw crefydd, a phob peth arall yn bethau anianol. Ni allaf i ddirnad yr un gronyn o wahaniaeth rhwng y naill beth na'r llall a wnelom dros Dduw ar nad yw yr oll yn ysbrydol. Mae yn ffaith nad ydym yn cyflawni yr un weithred allanol ond trwy gymhelliad tufewnol yr Ysbryd, ac o ganlyniad, ni all fod yn llai na'r ysbrydolrwydd sydd ynom ein hunain; a chan fod yr Ysbryd dwyfol oddifry yn gofyn dyledswyddau o'r fath genym, ystyriwn fod digon o ysbrydolrwydd ynddynt i ni eu galw hwynt yn grefydd.

Dywed Duw mai teyrnas drefnus yw ei deyrnas Ef, a bu gystal a'i dadguddio hi i'w was Joseph Smith. Wedi cael y drefn, yn hytrach na cheisio ei gwella at ein mympwy ein hunain, ein dyledswydd yw cydymffurfio â hi,—cymhwyso ein hunain at y drefn, ac nid y drefn atom ni; cydymffurfio â hi, ac nid ei chroesi, a'n gwna yn gymmeradwy yn ngolwg ei Rhoddwr Mawr. Nid mawrder gweithredoedd o ryw fath yn ol ein teimladau, ond ufydd-dod i alwad Duw, nad pa mor lleied a ofyna, sydd yn grefydd ger ei fron Ef.

Mae busnes yr Eglwys hon yn cynnyddu ar y ddaear, yn enwedig yn Seion. Yno y mae gwahanol gylchoedd, a phob dyn yn llanw ei gylch ei hun, drwy "Feindio ei fusnes ei hun" ac nid busnes neb arall. Cyn y gall dyn "feindio ei fusnes ei hun," mae yn ofynol iddo gael gwybod beth yw ei fusnes, ac er gwybod hyn ymddibyna ar yr un sydd yn uwch nag ef. Felly y mae olwyn o fewn olwyn i'r peiriant perffeithiawl hwn yn cyd-droi mewn trefnusrwydd.

Olwyn fawr yw y genadiaeth Ewropaidd, a busnes fawr sydd yn perthyn iddi. O'i mhewn hi y tröa ein holwyn fach ni yn Nghymru, ac o fewn hono amryw ereill llai fyth. Mae y fath gyssylltiad rhwng yr oll o'r olwynion hyn fel pan y chwyrnellant yn gyflymach neu yn arafach nag y dylent fyned, neu pan

ddygwyddo unrhyw annhrefnusrwydd, effeithia ar y lleill i gyd. Gwelwn yr anghenrheidrwydd ynte, i ni oll ddeall ein gilydd, a rheoleiddio ein hunain wrth yr olwyn nesaf atom, ac i hono i ymreoleiddio wrth y nesaf, ac felly yn ol hyd y Brif Olwyn Reoleiddiol Fawr a weithia yr holl beiriant hyd oni fyddo cyssondeb yn ein holl droadau.

Frodyr, sydd yn llywyddu y Cynnadleddau, eich dyledswydd yw cael pob olwyn fach drwy eich Cynnadleddau, eich olwyn mewnol eich hunain yn gyntaf, i gyflawni y cyfarwyddiadau sydd yn dyfod allan drwy yr UDGORN, i waered oddiwrth y Llywydd Richards, a'r holl gyfarwyddiadau ereill, y rhai ydynt eich Beibl chwi. Frodyr, gwnewch hwynt eich llyfr-destun; ni ellwch gyflawni eich dyledswyddau un ffordd arall. Nad beth a ofynir, nid oes wahaniaeth; pan ofynir swm o arian o Gynnadledd, dyledswydd Llywydd hono yw eu ceisio a'u cael. "Ië, ond yr ydych yn gofyn gormod genym," meddai y Llywydd. Aros dipyn ynte, dyna brawf fod naill ai y sawl a'u gofynodd yn ddyn anghyflawn a gormesol, neu nad yw yr hwn a achwyna yn deilwng o'i swydd, ei fod ef yn dweyd anwiredd ac fod perygl y dysga ereill i fod yn gyffelyb. Nid achwyn o herwydd tlodi, a chwilio am esgusodion er ymryddhau rhag y gofyniad yw y ffordd i Lywydd ennill cymmeradwyaeth Duw na'i weision, eithr ei ddyledswydd yw cymhwyso yr un gallu, ac ymroad a ddefnyddiai felly at chwilio pa fanteision fyddo 'w cael er gallu gwneuthur, ac nid chwilio am esgusodion dros beidio gwneyd; tra y mae llawer wedi ymdrafferthu i esgusodi a rhyddhau eu hunain, gallent fod wedi cyflawni y gorchwyl ar hyny neu lai o drafferth. Nid ydym i ddysgwyl y daw pob peth yn rhwydd. Mae genym i wneuthur ymdrech ac ymdrafferthu, a chynnyg at wneuthur. Ar ol yr aberth mae y fendith yn dyfod, ac mae y Duw a'i gofyna yn agor y ffordd ac yn darparu yr offrwm. Nid yw y gwas yn well na'i feistr. Cafodd hyd y nod ein Harglwydd Iesu Grist oddef yn ngardd Gethsemane; dyoddefodd newyn, a themtiwyd ef yn yr anialwch, eithr wedi hyny y gweinyddodd angylion iddo. Trwy ddyoddefiadau y perffeithiwyd Ef, ac y perffeithir ninnau cyn y cawn ein cyd-ogoneddu, wedi cyflawni ein rhan o'r un gwaith. Gwneuthur fel arall, sef ymesgusodi, &c., yw gwrando ar ac ufyddhau i'r diafol, a bydd y canlyniadau yn gyferbyniol.

Er fy mod yn ddigon gostyngedig a diolchgar i wrando ar unrhyw awgrymiad da gan frawd, etto, wedi y cyd-ymgynghorir, ac yr ystyria y cynghor y mater, ac y penderfyna ar y mesurau perthynol, y dull a'r modd i'w cyflawni, o'r fynyd hono allan, dyledswydd pob un yw gosod ei olygiadau ei hun o'r neilldu, defnyddio ei holl ddoethineb a'i ddylanwad i'w cyflawni i'r llythyren, yn ol ysbryd a phenderfyniad y Cynghor lle ei dewiswyd; ac nad beth fydd y canlyniad o hyny, nid arno ef y bydd hyny. Bydd cyfleusdra yn y Cynghor hwn i bob un ddweyd ei olygiadau neu roddi unrhyw awgrymiad, eithr wedi y penderfynom pa fodd i wneuthur, pe'd elai neb allan o'r Cynghor, ac ynganu gair gwrthwynebol wedy'n, ystyriem ef yn wrthwynebwr ac yn *fradwr*, yr hwn a achosai amrafael yn myddin yr Iesu.

Tra mae rhai Llywyddion wedi cael gan eu Cynnadleddau wneuthur yn dda, mae ereill wedi bod yn achwyn eu hanallu yn ormodol, eithr credaf mai yr anffyddlondeb a nodais ydyw. Pa reswm a eill efe roddi dros ei segurdod tra mae ei frodyr yn gweithio? A ydych chwi yn meddwl y caniateid i rai o filwyr Rwsia beidio ymladd tra yr ymladdai y lleill? A gaffent hwy dynu yn ol o'r frwydr? Na, choeliaf i fawr; eithr fe'u cospid fel bradwyr. Pa faint mwy bradwyr yn nheyrnas Dduw ynte? Dim ond anwybodaeth o'r mwyaf a roddai i ddyn o'r fath yr esgusawd leiaf dros beidio cyflawni yr hyn a gyfammododd â Duw y gwnelai ei gyflawni.

Nid ein teimladau ein hunain sydd i'n harwain, ond y cyfarwyddiadau ag sydd yn dyfod i waered o'r nefoedd, ynghyd ag arweiniadau yr Ysbryd Glân. Mae yn gofyn i'r Llywyddion ddwys fyfyrio ynte, a gosod eu synwyrau ar waith i ddeall eu dyledswyddau, a gweled yr anghenrheidrwydd o'r hyn a ofynir; nid ei gyflawni o herwydd fy mod i yn gofyn, neu rhag na fyddont yn anufydd; ni fyddai genyf yr un diolch i'r cyfryw. Dyledswydd Llywydd yw gweled a deall y fraint o wneuthur felly, wedi iddo ei ddeall yn drwyadl drwy oleuni yr Ysbryd Glân, digonedd o'r hwn a ddylasai feddu, er rhag-weled y canlyniadau daionus o wneuthur felly.

Gorfodwyd ni yn aml i ofyn yr un peth drosodd a throsodd trwy yr UDGORN, ac wedi hyny feallai y caffem yr holl fanylion, a thipyn dros ben o rai dianghenrhaid, ond byddai un,

dim ond *un* peth yn ddiffygiol, a hwnw fyddai y prif beth a ofynem feallai, a'r pwysicaf o'r cwbl! "Ond pwy f'asai'n meddwl!" meddir wedy'n. Frodyr! mae yn ddyledus i ni *feddwl*, beius yw esgeuluso meddwl am ein dyledswyddau. Y mae ein swyddau yn gofyn i'n meddyliau fod yn ffrwythlawn, ac os nad ydyw ddigon felly, mae genym i'w eu gwrteithio; dyna yr unig ffordd y ffrwythlonant.

Deallaf fod yma Lywyddion Cangenau hefyd. Arferiad llawer o honoch, yn eich mawr awydd i gyflawni gofyniad Llywydd eich Cynnadledd, pan na chaffoch ereill yn ddigon awydd'us i gydweithredu â chwi, yw ceisio ei wneuthur eich hunain. I fendithio ac nid i felldithio eich Saint y llywyddwch hwynt, a dybyna hyny ar eich hiawn lywodraeth arnynt. Ufydd-dod ei ufyddion yw prif ardderchogrwydd y gallu llywyddawl. Dyn lwydda i ennill ereill i gydweled a chydweithredu yw y Llywydd teilwng, a'r un mwyaf sier o ennill y gamp. Onid ynfydrwydd fyddai i Gadfridog flaenu ei fyddin i'r frwydr, a dywedyd, Eisteddwch chwi lawr yna, myfi a wynebaf y gelyn fy hunan. Nid llai ynfydrwydd fyddai i Lywydd Cangen geisio gwneyd mwy na'i allu ei hun a gadael i'w Saint eistedd yn segur.

Er mai dydd y "pethau bychain" ydyw, ac er mai y "pethau bychain" ydym ni fel plant yn gyflawni nid llai yw eu pwysigrwydd i ni. Yr A B C ydynt a'n harweiniant i syllebu, ac yna i ddarllen. Cyflawniad manwl a ffyddlawn o honynt, nad pa mor fychain y byddont, yw yr unig ffordd i ni gael pethau mwy, a llywodraeth uwch, hyd nes o gylch i gylch y dringwn i fyny yn ogyfwch a'n Brawd hynaf ar lywodraethau a theyrnasoedd, a bod yn "debyg iddo."

Rhai neillduol yn mhlith y "pethau bychain" yw y gwahanol gasgliadau, yn enwedig i Lywyddion y Cynnadleddau edrych ar eu hol. Nid myned i'r Cynghor yn unig a dweyd am danynt a ddylent; a phan y gofynir i ambell un, Pa beth yw y rheswm fod cyn lleied wedi dyfod o'ch Cynnadledd at y Drysorfa, y Deml, neu at ryw beth arall? "O, wn i ddim! Yr wyf fi wedi bod yn y Cynghor yn sôn am danynt." Nac ymfoddlonwch ar hyna, eithr ewch yn union i edrych beth yw y rhwystr, a lle na chewch ddynion gweithgar,—rhai sydd yn ymarferyd eu crefydd, eithr ydynt yn hytrach yn faen tram-

gwydd ar y ffordd, trowch hwynt o'r neilldu; chwiliwch yr holl gyfan "i'r carn," a mynwch symud y rhwystr.

Dylai fod *day-book* a *ledger* yn mhob Cynnadledd a Changen i gynnwys pob manylion,—llyfrau y Gynnadledd i gynnwys cyfraniadau ar gyfer enwau y cangenau, a llyfrau y gangen i gynnwys enwau a symiau y cyfranwyr. Pe felly gallai pob Llywydd Cynnadledd wybod lle mae y diffyg; ei hawl-fraint yw edrych y llyfrau a'i ddyledswydd yw ei chwilio allan, a gwybod pa faint mae pob un yn ei gynnadledd yn wneuthur, a than ba amgylchiadau, fel y gwahaniaetho rhwng y ffyddlon a'r anffyddlon yn hyn neu mewn unrhyw ddyledswydd arall, ac y deallo pa le i ganmol, cynghori neu geryddu. O hyn allan ni fydd yn ddigon o esgusawd i neb ddweyd "Mi ddywedais," &c. Mae y cyffelyb fanylrwydd yn anghenrheidiol pan yr edrychoch ar ol y dosparthwr llyfrau, ac yn y llefydd y mae hyn wedi bod ar ol, diwygier o hyn allan, dwbler y diwydrwydd i adennill y golled. Edryched y Llywyddion newyddion at hyny ar ddechreu y chwarter cyntaf yma, fel na fydd ar ben cyn y gallant wybod pa fodd y mae pethau yn bod, a'r Saint wedi marweiddio o eisieu ymgeledd. Na adawed i'r dosparthwr roddi llyfrau allan ar goel, ond ar ei gyfrifoldeb ei hun, rhag rhoddi cyfle i rai pobl trwy eu hanonestrwydd yn peidio a thalu, golli yr Ysbryd a myned allan o'r Eglwys ar ei chost; eithr lle y mae hyny wedi bod yn anocheladwy, casgler y diffygiadau yn y Gangen lle y digwyddodd, ac os digwydda hyny, gwneler felly yn y chwarter y digwyddo. Tra y gosodo Llywydd Saint ei Gynnadledd i weithio, edryched ar na thafler yr holl lwyth ar eu hysgwyddau ar unwaith; nid felly y gwnant fwyaf. Gwyddoch mai y ffordd oreu i yru agerddgerbyd yw wrth ei borthi â thipyn o lô ar y tro, fel ei cymmera. Porthwch chwithau eich Saint felly ar bob cyfleustra a gaffoch, gan gadw eu dwylaw yn llawn o hyd, ond nid yn orlawn, nac yn rhy wâg ychwaith. Bydd Cynnadledd heb y pethau hyn mor ddifudd ag yw telyn heb fod ei thannau yn dŷn. Ystyriwch fod eich Cynnadleddau megys telyn yn llaw pob un o honoch. Os na thynwch y tannau yn ddigon tŷn ni chewch hwynt i swnio yn berorawl, os na thynhewch bob tant yn ol ei faint a'i sefyllfa ni fydd yno gynghanedd, ac os na thynwch hwynt mor dŷn nes eu torri, hwy a'ch swynant a'u peroriaeth,

a bydd yn bleser genych sôn am danynt mewn Cymmanfaoedd fel hon. Mae'n wir fod peth trafferth ac anghysur yn anochel-adwy wrth geisio eu cael mewn tôn,—mae pob telynwr yn cael trafferth a gofid pan mae yn anhawdd iddo reoleiddio tannau ei delyn, eithr wedi ei gwnelo yn gywir nid oes braidd ddiwedd ar ei delyna a'i lawenydd. Mynwch gael tannau eich telynau bychain yn y fath drefn ag i swnio yn hyfryd a pherorawl,—eich Cynnadleddau mewn trefn a chyflawn waith, fel ag y gall-och fyned i'ch gwelyau yn y nos a'ch cydwybod yn dawel, gan lawenhau yn nghymmeradwyaeth Duw o'ch llafur a ddangosir yn y llwyddiant a'i dilyna.

Cadwer dyled y llyfrau i lawr trwy beidio caniatâu iddo gyn-nyddu,—bydded y tant yma mewn tôn.

Wrth yr argoelion bygythiadol presennol a welaf yn y dwyr-ain a'r gorllewin, mae y cymmylau beichiogaidd o ddial a barn fel pe ar dorri ac ymarllwys, ac feallai y bydd hyny yn gynt nag a feddyliwn. Yn awr, tra mae hi yn dywydd teg yw yr amser i chwi weithio,—i chwalu o'ch hen goffrau lluchiog y llyfrau sydd yn llwydo yn bentyrau ar eu gilydd,—y rhai a gynnwysant ymborth ysbrydol i'r enaid, o eisieu yr hwn y newyna y bobl. Ewch a hwynt iddynt fel na ddelo arnynt yr hyn ni ddysgwyliant, eithr y byddwch wedi eu rhybuddio yn mhob ffordd a allwch ddyfeisio, ac wedi rhyddhau eich hunain oddiwrthynt. Nid oes wahaniaeth i chwi pa ddefnydd a wnant o'r llyfrau, hwy sydd i ateb am hyny; eich dyledswydd chwi yw edrych eu bod yn eu cael hwynt.

Fe ddichon fod rhai yn meddwl wedi iddynt weithio yn lled dda am ysbaid fod ganddynt esgus digonol i orphwyso a pheidio gwneuthur nemawr ddim hyd oni ddelo rhyw alwad nodedig yn mhen amser wedy'n. Gwyliwch rhag hyn, Frodyr. Pan weloch ddynion yn credu felly, mae pethau yn dechreu myned go chwith. Cofiwch gyffelybiaeth yr agerdd-gerbyd. Bydded y Llywyddion yn fanwl a diwyd yn hyn,—i weled fod y fusnes yn ei holl ranau yn myned yn mlaen yn gysson a diysgog. Deallant nad cerdded i ymweled â thai y Saint i ddim ond siarad â hwynt a mwynhau eu hunain gyda hwynt yw yr oll sydd iddynt wneuthur tuag at gadw hyn mewn trefn. Nid wyf fi yn gallu cael cymmaint ag un diwrnod ar nad yw fy meddwl yn llawn o wahanol gynlluniau fy ngweithrediadau a gofalon

pwysig fy swydd. Gwelaf gynnifer o bethau yn anghenrheidiol mewn cynnifer man fel yr wyf braidd yn ewyllysio bod yn bersonol ynddynt oll ar yr un pryd, fel y dywedir fod duw y sectariaid, fod fy mhen yn llawn llygaid a chlustiau tu ol a thu blaen, i weled a chlywed yr oll o'm hamgylch, ac am na fyddai genyf fil o dafodau, a'r oll o honynt yn llefaru ar yr un pryd, a llais megys udgorn i fynegu ewyllys Duw i'r bobl.

*(Yn parhau yn tud. 110.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MAWRTH 29, 1856.

Cyfnewidiad y Llywyddiaeth Gymreig.—Hysbyswn fod terfyn ein goruchwyliaeth ni yn mhlith ein hanwyl Frodyr a'n Chwiorydd yn Nghymru wrth y drws; ein bod wedi cael braidd y cyfle olaf i wasanaethu y rhai a arosant yma ar ein hol, a'n bod ni yn diweddu ein cenadiaeth o dair blynedd a thri mis gyda phleser annhraethadwy. Dywenydd genym edrych yn ol ar bob peth a fu ond ein gwendidau ein hunan, pa rai a guddir, coeliwn, tan gochl cariad ein brodyr, megys ag y gwnawn ninnau a'r eiddo pob brawd a chwaer o fewn i eglwys ein Duw yngororau ein hoff wlad, gan ymadael a'n calon yn gynnes o gariad at y lleiaf o honynt. Pleserus genym yw bod cydwybod, wrth edrych ar y presennol yn ngwyneb y mynedol, yn tystio ein bod wedi gwneuthur a allem, a chynnydda ein Mheistr bendigedig y pleser yn fwy fyth, drwy roddi argoelion o'i gymmeradwyaeth o, a'i fendith ar ein hymdrechiadau methiantus i adeiladu ei deyrnas ac i lesoli ei blant anwyl. Ychwanega ein gobeithion am y dyfodol ein llawenydd yn fil mwy nac oll. O'n blaen mae Seion hoff a'i chan-mil manteision, rhinweddau a phleserau—brodyr un galon, a'r teulu anwylaf o fewn y byd, a'u breichiau ar led yn ein gwahodd; o'n ham-

gylch mae 'tua chwe' chant o'n brodyr a'n chwiorydd anwylaf, eu mhynwesau gan awydd am fuddugoliaeth ar bob drwg yn euro, mewn undeb a hedd yn dechreu rhedeg eu gyrfa tua hoff gartref eu heneidiau. O'n hol gadawn filoedd o'r un teulu gobeithiol yn pryeur ymbarotoi i'n dilyn, ac mewn llawn gobaith, ar ol ysgariad chwerw am enyd fach y cwrddwn etto oll mewn hyfryd hoen yn Nheml ein Hior, i ddysgu byw byth i'w foli. Ydyw, mae ein teimladau, ein sefyllfa, a phob peth sydd, wrth ddal yr ol a'r presennol yn nrych y dyfodol yn gorfodi ein calon i ddiolch i'r Hwn a'n galwodd o dywyllwch i wawl ei efengyl,—a'n cyflogodd yn ei winllan ac a fendithiodd ein llafur am fod pob peth megys ag y mae gyda ni heddyw.

Ynghanol yr holl waith a'r drafodaeth gyssylltiedig a chyflwyno i fyny ein goruchwyliaeth, busnes yr ymfudiad, parotoadau i'r daith, heblaw llawer o bethau na enwn, a gymmerant ein hamser, coeliwn y cawn ddigon o esgusodion i'n hesgusodi gan ein caredigion rhag ceisio ysgrifella i lawr chwaneg o'n teimladau ar ein hymadawiad, ofer-waith, pa un bynag fyddai ceisio eu desgrifio.

Ni feuir ni chwaith am na fanylwn ar y dyledswyddau a ddymunem i'r Saint ymbleseru yn eu cyflawni; canys bydd genych ddynion medrus, cywir galon, gweision yr un Duw i'ch dysgu, gwrandewch arnynt hwy ynghyd a'r hyn a ysgrifenwyd: bydd eu cynghorion i'r sawl a'u gwnelo fel ffynnon o ddwfr bywiol i enaid sychedig. Nid anturiwn gysuro y rhai sydd ar ol amgen na sicrhau y daw y dydd pan y dywedant,—"Yr hyn a allodd hwn wneuthur er ein casglu i Seion efe a'i gwnaeth," yn amgen ni ddywedwn ar hynyna.

Mae yn wybodus, ond odid, i bawb bellach, mai ein hanwyl Gynghorydd a'n ffyddlon frawd Daniel Daniels yw ein Holynydd, ac mai Israel Evans a Benjamin Ashby yw ei Gynghorwyr; onide, boed hysbys mai y brodyr hyn yw eich Llywyddion o hyn allan hyd oni hysbyser yn mhellach; a diolchwn, diolchwch oll anwyl Saint, i'r Duw a roddodd i chwi y fath wŷr o galon gywir i'ch gwasanaethu. Ufyddhewch i'w cynghorion, fel i eiriau Duw, canys genenau drosto ydynt hwy i chwi, ac ufydd-dod iddynt a sicrha fywyd diderfyn i'r sawl a'i gwnelo.

Dysgwyliwn yn hyderus y deilliaw lles mawr i'r Saint Cym-

reig drwy wasanaeth y rhai a benodwyd yn Gynghorwyr yn y Brif Lywyddiaeth. Hyderwn y gwna y Saint eu rhan i'w cynnal ac ufyddhau i'w cynghorion, canys dynion Duw ydynt, a'ch llesolant yn gyferbyniol i'r iawn brisiad a wnewch o'r galluoedd rhagorach a feddant, o herwydd eu bod wedi dyfod o Seion i'ch gwasanaethu. Amser yn unig a ddichon brofi yr hunan-les a ddeilliaw i'r Cymry drwy ymdrechu i ddeall yr iaith Saesonaeg. Achuber y cyfle hwn i hyny hyd y bo yn bosibl.

Tra y cofiwch gerbron gorsedd gras am unrhyw les a wnaeth eich hen was i chwi, ac y gofynwch am unrhyw fendith iddo, ar yr hyn y dybyna am lawer, nac anghofier chwaith fy mrodyr hyn mewn dim a geisiwch. Cael rhan yn eich ffydd, eich hymddiried, eich gweddiau, a chyfle i'ch llesoli yw ein prif amcan o hyd, sicrhad o hyn a ad-dala yn helaeth yr holl gost o'i geisio. Ysbryd santeiddiawl y Duw da a'n pia ni oll drwy gyfammod tragywyddol a fo ynoch, drosoch ac oddiamgylch i chwi, iddynt hwy ac i ninnau sydd yn eich gadael hyd nes ein dwyn ni etto oll yn un ynddo Ef ei hun, ac i gael byw gydag Ef yn dragyfyth, yw taeraf, blaenaf ac olaf weddi eich

Brawd drwy Grist,

D. JONES.

---

UDGORN SEION.—Y Llywydd Daniel Daniels yw Golygydd yr UDGORN ar ol y rhifyn hwn; anfoner pob gohebiaethau iddo ef i'r Swyddfa hon o hyn allan, ac hysbyser ef cyn y rhifyn nesaf y rhif os bydd i rai orfod lleihau y rhif a dderbyniant o herwydd yr ymfudiad; y sawl na wnelo hyny, dysgwylir iddynt dderbyn y rhifedi presennol.

---

AT Y LLYWYDDION.—Gan mai pen y chwarter cyntaf o'ch gweinidogaeth sy'n agoshau, a rhag i chwi anghofio, dywedwn etto fod prif drysorwyr y D. Y. Barhaus a'r Deml i wneuthur eu cyfrifon i fyny ar y dydd diweddaf o'r mis hwn, ac anfon yma y symiau gyda eu cyfeiriad yn nghyd ag enwau y Cangenau at y D. Y. Barhaus.

---

## HYSBYSIAD I YMFUDWYR.

### DYFYNIAD O LYTHYR Y LLYWYDD F. D. RICHARDS.

36, *Islington, Liverpool, Mawrth* 5, 1856.

ANWYL FRAWD JONES,—Yr wyf newydd ddychwelyd o hebrwng yr "Enoch Train" a thua 530 o eneidiau o Saint ar ei bwrdd. Aeth yr holl drafodaeth heibio yn y modd mwyaf boddhâol ac hyfrydlawn: yr oedd y llong a'i chwmpeini yn *Number* 1, o'r dosparth rhagorolaf.

Mae y gofal llywyddol ar y Cadfridog Ferguson, a chynnorthwyir ef gan yr Henuriaid E. Ellsworth a D. D. McArthur ei gynghorwyr, ac heblaw hyny mae iddo gefnogaeth gref gan tuag wyth neu ddeg o Henuriaid Llywyddol a Theithiol.

Yr oedd tuag ugain o'r Saint o Switzerland. Mae yr holl drafodaeth yn gyfangwbl wedi bod yn ffafriol cyn belled, ac yn rhoddi addewid obeithiol am fordaith gysurus ragorol.

Mae y Cadben, yr hwn sydd yn eithaf "*downeaster*" yn siarad i'r pwynt, a gobeithiwn y derbyniant fendith Duw ac y llwyddant oll.

Dyben mwyaf neillduol y llythyr yma, modd bynag, yw i ymholi â chwi ynghylch llong arall. Mae prisoedd cludiad i'r Taleithiau yn awr yn £5 10s a £6 y pen, llongau yn anaml ac yn anhawdd eu cael, ac nid oes yr un argoel presennol o gyfnewidiad ffafriol. Yr wyf fi wedi llwyddo hyd yn hyn i gadw pris y cludiad i lawr yn £4 5s. ac yr wyf wedi bod yn chwilio er's tair wythnos yn ol i sicrhau llong i'r llu mawreddog sydd i fyned allan dan Llywyddiaeth Cadben Dan, ac mae genyf y cynnyg cyntaf o'm blaen yn awr am long Americanaidd newydd a gymmer tua 600 o eneidiau allan. Mae amryw farsiandwyr yn ei cheisio, a geill gael unrhyw bris a ewyllysia hi ofyn. Os na chaf hi, nis gwn yn y byd pa bryd y caf yr un arall, ac os caf fi hithau hefyd, gorfodir fi i ofyn dim llai na £5 y pen am bob un mewn oedran, ac fe ellir ei chael i hwylio tua Boston ar unrhyw amser ag y bydd yn gyfleus i ni, dywedwch tua'r 19eg o Ebrill.

Mae y tymmor eisoes yn hwyrhau, ac y mae yn o debyg fod 4 neu 5, feallai 6 llongaid i fyned i fwrdd y gwanwyn hwn ar ol yr eiddoch chwi.

Yngwyneb hyn oll y gofyniad yw,—Ai gwell yw i mi sicrhau y llong hon,—y "Saunders Curling," perchenogion yr hon a ddywedasant mor dda am ein pobl ni y flwyddyn ddiweddaf yn newyddiaduron Caerefrog Newydd,—fel y nodais ai peidio? Y mae fy meddwl i yn gogwyddo at y meddylddrych o'i cheisio os geill llogellau eich hymgeiswyr ei sefyll, gan na wyddom pa faint yn waeth y byddai arnom pe yr arosem am un arall. Trosglwyddaf y golygiadau hyn i chwi fel y caffwyf yr eiddoch chwithau yn ol.

Gwelwch fod yn dda i roddi atebiad buan, fel y penderfyner ar y mater pwysig hwn yn ddioed. . . . . .

Ydwyf, eich cyd-weithiwr ffyddlon yn nghasgliad yr Israel.

F. D. Richards.

---

[Mwy na thebyg y teimla rhai o'r ymfudwyr siomedigaeth o herwydd yr oediad a'r codiad pris a awgrymir uchod, etto credwn fod digon o ddoethineb gan y Saint i weled fod hyny yn orfodaeth anocheladwy; ac o tan yr amgylchiadau hyderir y bydd y gyfran o'r ymfudwyr ag ydynt yn barod i gychwyn yn amyneddgar i gydymdeimlo gyda y lleill ag ydynt wedi methu bod mor ffortunus a'u hunain, er egnio eu goreu i hyny. Yn lle bod mor hunanol ag ystyried ein cyfleusderau ein hunain yn unig, dyry y ffaith o fod cynnifer o blant Seion yn gallu casglu tua thref eleni fel colomenod i'w ffenestri, yn finteioedd rhy liosog i gael digon o longau i'w cludo yn mhrif borthladd y byd, destun llawenydd ac amynedd i'r rhai a iawn brisiant y fraint o gael myned.

Hysbyswn y sawl a all fod yn ofni i'r oediad hwn eu rhwystro i groesi y Plains yn brydlon, mai rhagofal afreidiol yw hyny, o herwydd ennillir amryw wythnosau o amser wrth fyned y ffordd yr elir eleni rhagor a gymmerid i fyned ar hyd yr hen ffordd drwy Orleans Newydd, &c. Ac nid oes perygl i'r Llywydd Richards, na'ch gwas chwithau gychwyn neb o'u brodyr mewn amser anmhriodol i'r daith. Mae y Llywydd Richards yn gwneyd ei oreu, ac ni all wneyd yn well na llogi y llong a noda, ac anfonasom ato i'r perwyl hyny, gyda deisyfiad os yn bosibl gael ganddi gychwyn wythnos neu ddwy yn gynnarach na'r amser a enwa yn ei lythyr. Ceir ei atebiad o barthed i

hyny y cyfle cyntaf, a phob hysbysiadau ereill perthynol o ddyddordeb.

Gorfoda yr amgylchiadau uchod ni i alw sylw yr holl ymfudwyr atynt, a doeth fyddai i'r sawl sydd a'i foddion yn brin drefnu ei hun yn ol hyny. Os bydd rhywun a fetha gyrhaedd y nod uchod, o bum punt, am fyned i'r Taleithiau ar ol methu pob treial, hysbysed ni o hyny yn ddioed, a boddloned i aros hyd oni allo naill ai cael chwaneg neu i'r pris ostwng, ac, o'r olaf, dywed y llythyr blaenorol nad oes yn awr ddim tebygolrwydd, eithr yn hytrach yr argoela waethygu.

Yn mhellach, er calonogiad i'r ymdrech i achub y cyfleustra cynnygiedig, mae'n bleser genym allu rhoddi pob canmoliaeth i'r gamp-long hon drwy adnabyddiaeth, ac i'w Chadben fel dyngarwr a ymbleserodd yn dedwyddoli y Saint a aethant gydag ef o'r blaen. Nid yw ei mhynediad i Boston yn unrhyw anfanteis i'r ymfudwyr, eithr yn hytrach byrha y fordaith a'r cludiad gyda y rheilffordd yn mlaen. Dysgwyliwn chwaneg o enwau ar ol hyn; nid oes genym 600 cyflawn etto.—Gol.]

---

## CRYNODEB O DDYSGEIDIAETH Y LLYWYDD DAN JONES YN NGHYNGHOR MERTHYR.

[Parhad o dud. 105.]

Un o ddyledswyddau pwysicaf arall Llywydd yw cymmeryd ymfudiad y Saint mewn llaw, a'i hwyluso a'i holl egni. Y mae argoelion daroganus a sefyllfa gynhyrfiyd y gorllewin fyd,—rhagrhedegwyr yr amseroedd drwg, yn bethau i chwi i'w dwys ystyried, a'u dangos i'r Saint yn mhob lle yr eloch, gan eu cymhell yn mhob dull a alloch i wneuthur pob ymdrech a allont i ymfudo; nad oes un math o esgus gan neb a fedda y modd rhag myned. Mae'r pyrth wedi eu hagor yn llydain, a'r alwad yn uchel-floeddio ar bawb a allant ddyfod allan, nad oes gofyniad arnynt aros yma yn hwy i gario y gwaith yn mlaen, ond fod rhyddid i bob un ag a allo i fyned a chynnorthwy i lawer un anghenog. Gelwir Llywyddion y Cangenau, a phawb yn fawrion a bychain; y rhai sydd yn cael eu hystyried yn golofnau ac yn asgwrn cefn i'r gwaith yn y llefydd y maent ynddynt, y rhai sydd yn haelionus, a'u tai yn agored i'r Hen-

uriaid, y rhai sydd yn cyfranu yn dda at y Llywyddiaeth, a'r Llywydd,—pawb yn ddiwahan! Aed y Llywydd newydd fel ysgubell newydd, ac ysgubed yr holl gwbl a allo o'i flaen yn lân; peidied edrych at ei hunan-les, a'r golled ar ol personau, &c., ac fe ofala Duw am dano, a phryd hyny Efe a'i bendithia ag ereill yn eu lle,—pryd hyny a dim ynghynt y deuant i fewn, ac yr agorir llefydd newyddion. Mae eisieu cael ein gwared ni yr hen "stonciau" yma ag sydd awr yn fwy o rwystr nag o gynnorthwy i ddwyn dynion i'r Eglwys,—yr hen Saint sydd wedi blino er's hir amser yn Babilon. Gwyn fyd pe gallwn ddadgorffoli holl Gangenau Cymru i gyd trwy eu hymfudo; canys mor gynted ag y gwnelem hyny yr elem i'r chwarel i geisio meini newyddion,—pryd hyny y deuai cannoedd, ïe, miloedd i'r Eglwys yn fuan, ac eu gwaredid megys tynu ffagodau fflamllyd o'r tân. Mae y Llywydd Young wedi addaw y deuant i mewn pryd hyny, ac yr wyf innau yn ei gredu, a dyna'r adnod mwyaf sicr a phendant sydd genyf i brofi y pwnc. Yr ydym ni sydd wedi bod yn hir yn yr Eglwys wedi heneiddio a magu cynnifer o gyrn ar ein penau, hyd nes y mae dychryn ar y bobl ddyfod yn agos atom. Yr wyf fi yn meddwl gwneuthur fy rhan i tuag at eu cael i mewn i'r Eglwys, drwy roddi fy *Farewell Sermon* iddynt, yr hyn a wnaf yn fuan drwy ddangos fy nghefn iddynt yn lle y gwyneb a gasânt mor fawr, a chredaf mai hyny fydd y bregeth sicraf o'r oll i argyhoeddi cynnifer ag a argyhoeddir o honynt hefyd.

WM. LEWIS, *Ysgrifenydd.*

---

## DYN MEWN SYNDOD!

PA beth a glywir 'nawr trwy'r byd?
Ow! mae rhyw syndod i ni gyd!
Rhyw bobl sydd a elwir Saint,
Sy'n brysio draw i'r wlad ddi haint.

Beth, gwlad ddi haint,—pwy dd'wedodd hyn,
Fe wnaeth i lawer fyn'd yn syn?
Neb ond y Saint sy'n d'weyd o hyd,
Mae Duw sydd yn eu galw 'nghyd.

Pa beth yw'r rheswm, d'wedwch in',
Yr aiff y Saint mor bell a hyn?
Y rheswm dd'wedaf i chwi'n hy,
Ein Duw sy'n galw arnom ni.

Eich Tâd sy'n galw. sut mae hyn
O dewch yn awr, rho'wch wybod in',
Fel gallom ninnau ddo'd i Dre',
Os draw yn Utah mae y lle.

Wel ffwrdd a ni yn llon i gyd,
Gan groesi'r werydd 'nawr mewn pryd,
Fel caffom feddu'r dedwydd le,
Yn ol gorchymyn Brenin Ne'.

*Aberdare.* PENCRYCH.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

SYLWED YR YMFUDWYR!!!—Drwy attal y wasg hyd yn awr gallwn hysbysu mai ar y 19eg Ebrill y cychwyna y llong o Lerpwl. Dydd Mercher y 9fed, sef wythnos i'r Mercher nesaf, am 6 *o'r gloch y boreu* y cychwyna yr Agerfâd o Abertawy. Trefned Llywyddion Mynwy, Merthyr, a Brycheiniog y ffordd a'r amser goreu i fod yn Lerpwl erbyn nos Lun y 14eg o Ebrill. Pe caffem ni wybod y rhifedi a ddewisant fyned y ffordd hono yn brydlon, ceisiem ddealltwriaeth gan Gwmpeini y rheilffordd fel ag i hwyluso yr amcan. Mae prisiau y cludiad dros y môr wedi codi gyda phob llongau ond llongau y Saint i £6 10s yr wythnos hon, ac argoelion gwaethygu etto.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MAWRTH 14 HYD 27.—Wm. Lewis, £3 18s; Thomas Rees, £2; Thomas Stephens, £3; E. S. Morgans, 8s.

☞ Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg ar y 20fed o Ebrill. Cyhoeddir y lleill yn y rhifyn nesaf.

⁂ Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Daniel Daniels, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

---

CYNNWYSIAD. TUD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. JONES.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 8.] EBRILL 12, 1856. [CYF. IX.

# ANNERCHIAD Y LLYWYDD BRIGHAM YOUNG I SENEDD DIRIOGAETHOL UTAH,

*Yn ymgynnulliedig yn Ninas Fillmore, Swydd Millard, Rhagfyr* 11, 1855.

FONEDDIGION Y CYNGHOR A THY Y CYNNRYCHIOLWYR,—Yn unol â gohiriad y Senedd Diriogaethol ddiweddaf, yr ydym wedi ymgynnull am y tro cyntaf yn y Cabidyldŷ, mewn ystafelloedd a adeiladwyd i ddybenion cyfreithiol, yn eisteddle y llywodraeth. Gan nad yw yr ystafell yma ond aden ddeheuol y Senedd-dŷ a fwriedir ei gwblhau, er y dichon ei bod yn gyfaddas yn bresennol, nid oes ynddi y cyfleusderau, yr eangder, a'r ardderchawgrwydd a fyddant yn gyssylltiedig â'r adeilad pan ei orphenir yn ol y bwriad dechreuol. Pa mor belled y cyflawnir hyn trwy gynnorthwy y lywodraeth gyffredinol sydd yn beth anhysbys i mi, ond meddyliaf y bydd iddi gyfranu ychwaneg tuag at hyn, gan fod y gorchwyl presennol 12,000 o ddoleri yn ddrutach nâ'r swm a gyfranodd hi. Hyd oni roddir cynnorthwy ychwanegol gàn y Brif Senedd mae yn ddyledus i'r Diriogaeth fod yn gyfrifol am y swm sydd dros ben, gan ei fod yn ddigon amlwg mai anghyfiawnder yw i'r ammodwyr ag ydynt wedi rhoddi eu mhoddion a'u llafur tuag at gyflawni hyn orfod aros, ni wyddis pa hyd, i'r amser pan y cyfrana y lywodraeth gyffredinol ychwaneg, er ei fod yn debyg yr ad-delid y Diriogaeth rhywbryd.

 

Yr ydym wedi ymgynnull er ystyried achosion ein Tiriogaeth ieuanc a chynnyddol, ac er ffurfio y cyfryw gyfreithiau, rheolau a threfniadau a ystyrir trwy ein doethineb cyssylltiedig eu bod er lleshâd cyffredinol y cyhoedd.

Gyda theyrnged o fawl a diolchgarwch i'r Bod Hollwybodus sydd yn rheoli a llywodraethu y cenedloedd fel y myno Efe, deisyfwn ar i ysbryd doethineb ein harwain yn ein gweithrediadau. A thra y mynegwn deimladau calonau cydnabyddus o'r bendithion a'r trugareddau a estynwyd i ni, yr ydym yn ddiolchgar i'r Hwn a'n cadwodd rhag cenfigen ac atgasrwydd gelynion cynddeiriogllyd, ac a roddodd i ni etifeddiaeth dawel yn y dyffrynoedd neillduedig hyn. Chwydda ein calonau gyda chydnabyddiaeth am y fraint a fwynhauwn o geisio a chael goleuni a dealltwriaeth fel, ar bob amser ac yn mhob lle, ein hysbysir gan yr ysbryd doethineb a gwirionedd sydd yn deilliaw oddiwrth yr Hwn sydd yn eistedd yn orseddedig mewn santaidd fawrhydi, ac yn preswylio yn nghanol ei deyrnasoedd. Er fod ei law geryddol wedi bod arnom, etto bu er ein digoni, a chydnabyddwn ei fod fel triniaeth Tad tyner a geisia leshâd mwyaf ei blant.

Yr wyf wedi awgrymu yn fy annerchiadau blaenorol i'r bobl hyn, am i'r cyfreithiau fod yn eglur, yn rhwydd i'w deall, ac ychydig mewn rhifedi. Yr wyf yn anwybodus hyd yn hyn o unrhyw reswm dros newid fy ngolygiadau ar y pwnc, ond i'r gwrthwyneb, fel y rhodda bywyd i mi brofiad, ac y diwalla profiad wybodaeth a dealltwriaeth, cadarnheir fi yn ychwanegol ynddynt. Ni ddylid newid cyfreithiau ychwaith, os ydym am fwynhau Llywodraeth barhaus ac heddychlawn. Mae yn hysbys i mi fod materion personol a chymmydogaethol yn gofyn cyfnewidiadau, ac y dylai deddf-wneuthuriad mewn gwlad newydd fel hon, lle y mae anturiaeth, darganfyddiaeth a gwelliant yn rai o brif nodiadau y bobl, gydgerdded â hwynt, ac na ddylid ei rhwymo i lawr gan olygiadau cyfyngol ac hunanol, hen gynllyniau methiedig, neu gyfeiliornadau traddodiadol. Teyrnased ysbryd rhyddid ac haelioni yn ein holl weithredoedd, a byddwn yn sicr o wneuthur cyfreithiau eglur a gwir angenrheidiol, y rhai fyddant ganlyniadau daionus ein penderfyniadau.

Y mae genym gyfrol lled dda o gyfreithiau, a'm cynghor i yw, cyhyd ag y parhant yn gymhwysedig at ein hanghenion,

ac y byddant yn ddigonol gogyfer â thrafferthion dyfodol tebygol, peidiwn a'u haflonyddu. Nid oes yr un gyfraith a ffurfiwyd gan y Senedd hon wedi cael ei diddymu gan y Brif Senedd, er ei bod yn hòni yr hawl o wneuthur hyny, yr hyn sydd yn un o'r pethau mwyaf gwrthnysig a chroes i werin lywodraeth—yn allu sydd mor wrthwynebus a chroes i egwyddorion ein sefydliadau rhydd fel na ddylid ei ymarferyd braidd ar unrhyw achlysur.

Modd bynag, er gochelyd rhag hyn yn ogystal a llawer o ddadleuon ereill a allant gyfodi yn anffodus i ddim ond gwaethygu a dyrysu y cyssylltiadau a fodolant mor afresymol etto yn heddychol yn y ffurfiad presennol o Dalaeth ymddibynol, ac er gosod ein hunain tuhwnt i afaelion ymgecraeth, yn gydradd ag ereill yn ein hiawnderau, a chaffael o honom benaduriaeth a rhydd lywodraeth ein hunain, wedi ei sylfaenu ar yr egwyddorion ag ydynt yn gyssegredig i bob carwr rhyddid Americanaidd fel y deilliai oddiwrth y bobl, cymhellwn chwi i ddilyn y mesurau dechreuol er i ni gael ein derbyn i'r Cyfandeb.

Yn ddarpariadol i hyny bydd genym gymmeryd rhifiad y bobl yn y Diriogaeth, a chynnal cymmanfa er ffurfio a mabwysiadu llywodraeth. Hyderaf yr ystyrir yr awgrymiad yma yn fanwl, fel pan ei gweloch yn ddoethineb i ni wneuthur cynnygiad am ein derbyniad i mewn fel Talaeth, y gellir pasio y cyfreithiau dechreuol yn gynnar.

Hyderwn y meddianna y Brif Senedd bresennol ddoethineb i gydnabod yr egwyddor o hunan-lywodraeth, ac ansawdd ein sefydliadau rhyddion yn y fath fodd ag i ddiddymu yn ei thiriogaethau y gyfundraeth atgas o lywodraethu Tiriogaethau yr hon a ddeilliodd o'r orsedd Frytanaidd, a'u gosod yn gydradd yn yr iawnderau cyfundebaidd a fwynheir gan y Taleithiau yn eu trefniadau mewnol, yn cael ethol eu swyddwyr, a chynrychioli eu hunain.

Yn unol â chyfraith a basiwyd gan y Senedd hon yn 1854-5, aeth yr Anrhydeddus Orson Hyde i swydd Carson, ac aeth yr Anrhydeddus Farnwr Stiles a'r Marshall Heywood gydag ef, ac mewn cyssylltiad â phersonau awdurdodedig o California sefydliasant y llinell gyffiniol rhwng y Diriogaeth hon â'r Dalaeth hono, yn mharthau dyffryn Carson, a chorffolodd y Swydd yn gyflawn. Fe dderbyniwyd y manylion yn nghylch hyny, ac

fe'u gosodir o'ch blaen cyn hir. Hyderaf nad atelir y daledigaeth a ofynir am wasanaeth mewn cael allan ran o'n cyffiniau gorllewinol, er ei fod yn perthyn yn addasach i'r llywodraeth gyffredinol dalu y fath gostiau, gan mai ei gorchwyl hi yn fwyaf neillduol yw i edrych at sefydlu cyffiniau ei thiriogaethau.

*(I'w barhau.)*

---

## LLYTHYR O'R DYFFRYN.

*Fort Ephraim, Rhagfyr 2,* 1855.

ANWYL FRAWD JONES,—Yr wyf yn cymmeryd y cyfleusdra hwn i ysgrifeni atoch, gan ofyn eich maddeuant am na fuaswn yn ysgrifeni atoch cyn hyn, ond nid oes genyf un esgus i roddi dros beidio, ond yn unig fy mod yn meddwl eich bod yn cael y newyddion bob mis oddiyma trwy y *Star*, &c. Pa un bynag a roddwch faddeuant ai peidio, gwn fod teimladau tyner fy nghalon yn gynes tuag atoch chwi, ac yn dymuno eich llwyddiant, nid yn unig mewn pethau y byd hwn, ond yn y pethau sydd yn perthyn i'ch tragywyddol ddyrchafiad yn nheyrnas Dduw.

Mae dros dair blynedd er pan eich gwelais y tro diweddaf, a diammheu genyf eich bod wedi gweled llawer o wrthwynebiadau i Efengyl Crist yn Nghymru y tro hwn. Yr oedd yn dda genyf glywed gan lawer fod olwynion efengyl yr Iesu yn troi yn gyflym yn Nghymru, ac yn achub llawer yn barhaus. Mae gogoniant egwyddorion Mormoniaeth, pa rai sydd yn cael eu hegluro yn barhaus gan weision Duw yma, wedi dwyn serchiadau fy nghalon i'w caru uwchlaw pob peth arall. Mae taerion weddiau fy nghalon ar ran y rhai gonest eu calon yn Nghymru, fel y byddo iddynt ufyddhau i'r efengyl dragywyddol cyn y byddo i genadon hedd gael eu galw oll adref.

Mae arwyddion yr amserau yn y dyddiau yma yn galw yn uchel ar y Saint i fod yn ffyddlon, a thystia gweision Duw yma fod pethau mawrion wrth y drws. Fe ddymunwn weled pob Cymro gonest galon yn dyfod yma i ddysgu cadw y gyfraith nefolaidd. Mae teyrnas Iesu yn cynnyddu yn mhob parth o'r byd, ac fe fydd wedi lledaenu dros wyneb yr holl ddaear yn

fuan iawn. Mae yr amser i'r Saint ddychwelyd yn ol i Swydd Jackson yn brysio yn gyflym, ac yn nes nag y meddylia llawer yn awr.

Yr oedd yn llawenydd genyf weled eich brawd Edward pan y daeth i'r Ddinas, ond yr oedd yn bur isel o ran ei iechyd, ac yr oeddwn yn ofni na fuasai byw fawr amser. Wedi iddo ddod yn ol i'r Ddinas o Fort Ephraim, aethym i San Pete gydag ef, ac yr ydym yma yn awr.

Yr ydym wedi clywed eich bod yn meddwl dyfod adref at eich teulu y flwyddyn nesaf; gobeithiaf y cewch daith hwylus. Mae Jane a'r plant yn iach; yr wyf finnau a'm teulu yn mwynhau iechyd rhagorol.

Gan fod eich brawd yn ysgrifeni atoch ni chwanegaf yn bresennol. Dywedwch wrth bawb a ofynant am danaf fy mod yn fyw, yn iach, ac wrth fodd fy nghalon, a chofiwch fi yn garedig atynt oll, yn neillduol at y brawd Daniels.

Ni ychwanegaf yn bresennol, ond fy mod i a'm teulu yn cofio atoch yn garedig a serchus.

Yr eiddoch yn y cyfammod newydd.

RICE WILLIAMS.

*Gynt o Swyddffynnon, ger Tregaron.*

---

## LLYTHYR JOHN JONES, MERTHYR, AT Y CADBEN DAN JONES.

*Merthyr, Mawrth* 22, 1856.

Y BRAWD JONES,—Teimlwn yn wir ddiolchgar i chwi am ateb ein cais, a rhoddi gwybod beth sydd genym i wneyd er dyfod yn ol i'r Eglwys.

Gwyddom ein bod wedi gwneyd yn ffol mewn llawer o bethau, ac wedi dweyd yn galed am danoch chwi, yr hyn a achosodd ofid a theimladau anghysurus ynoch. Blin a gofidus yw genym yn awr i hyny fod, a dymunwn eich ffafr a'ch maddeuant yn ostyngedig am bob peth a ddarfu i ni achosi y teimladau lleiaf o anghysur i chwi, a charem gael ein mynwesu genych yn eich teimladau goreu, a chael eich ffydd a'ch hymddiried ynom, fel drwy hyn a phethau ereill y cynnorthwyir ni i sefyll rhyfela, a gorchfygu y tro nesaf.

Dymunwn faddeuant pawb o'r Saint ag ydym wedi achosi y teimladau annymunol a'r gofid lleiaf iddynt. Felly ar ein Duw yn erbyn yr Hwn y gwnaethom fwyaf, y gweddiwn am faddeuant, a gofynwn ei faddeuant Ef, y Saint, a chwithau yn enw Iesu Grist, gan obeithio na fydd anghen y cyffelyb i wneyd byth etto.

Cydnabyddwn i chwi wneyd yn iawn â ni yn ein torriad allan o'r Eglwys, ac na allasech wneyd yn well yn ol yr amgylchiadau a fu; cyfiawnhawn chwi yn ein hesgymmundod.

Yr wyf wedi oedi hyd yn awr heb anfon, o herwydd fy mod yn dysgwyl gweled Mr. William Sims, ac heb ei weled etto, ond yn ol y siarad diweddaf a fu rhyngom yr wyf yn rhoddi ei enw.

Ydym eich gostyngedig weision,

JOHN JONES,
WM. SIMS.

---

## ATEBIAD Y CADBEN DAN JONES I'R LLYTHYR BLAENOROL.

*Abertawy, Ebrill* 8, 1856.

ANWYL FRAWD DANIELS,—Mewn atebiad i ofyniad John Jones yn y llythyr blaenorol am fy maddeuant a'm teimladau mynwesol i, dywedaf mai pleserus iawn yw genyf gael teilyngdod yn ei edifeirwch a'i ddymuniad i'm galluogi i faddeu iddo ar dir cyfiawnder, ac addawaf hefyd i gadw fy mynwes yn ddigon llydan agored i'w roesawu yn nes-nes i'm calon yn gyferbyniol i'w gywirdeb a'r awydd a ddengys i anrhydeddu y cyfreithiau a droseddodd, i adeiladu y deyrnas anwylaf, ac i lesoli fy mrodyr a'm chwiorydd cu a dristaodd. Ni all neb wneuthur hyn ond ei hunan. Fy ngweddi i yw, ac a gaiff fod tra y gwir deilyngo efe hyny, ar i'n Tad grasol ag y pechodd i'w erbyn ganmil mwy nag i'm herbyn i, faddeu iddo, a'i nerthu drwy adymweliad ei Ysbryd Glân Ef i ryngu ei fodd Ef bob amser, ac i orchfygu pob gelyn nes mwynhau bywyd tragywyddol.

Credaf fod y Saint yn teilyngu ac yn dysgwyl cael deall ei deimladau cyn y gallant gyd-uno gydag ef a ninnau, na'i fynwesu fel y dymuna; o ganlyniad pe cyhoeddech ei ddeisyfiad

yn yr UDGORN, credaf y gwnelai les drwy fagu ymddiried a chreu undeb.

Hyn yn unig a chwanegaf, fy mod i yn fy holl ymddygiadau tuag ato ef, fel yn awr, yn cofio yn ddwys mai dyn ffaeledig ydwyf yn ceisio rhodio y ffordd gul, ac y gofyna fy holl egni a a chynnorthwy Ysbryd Duw a'm brodyr er gallu myned i fewn drwy y porth cyfyng i'r bywyd, ac ni welais y dydd pryd na wnaethym ag ef fel y dymunwn fod arall yn gwneyd a myfi pe yr ymddygaswn fel y gwnaeth efe.

Rhesymol yw meddwl yr hawlia y Saint hefyd i John Jones gymmodi â hwythau yn ol defod yr eglwys er ei dderbyn ef i mewn, fel y dylai ac fel y dymuna, coeliwn. Rhyngddoch chwi â hyny, nid fy eglwys i yw, ond eiddo Duw, a chwithau yn awr ydych ddrysorydd y gongl hon o honi.

Da fuasai genyf pe buasai W. Sims ei hunan yn cyd-ddeisyf â J. Jones, ac er nad wyf yn amheu geirwiredd y llythyr, etto ymddifadir fi o'r pleser o gymmodi ag ef hyd nes y teimlo fod ceisio hyny y peth blaenaf a phwysicaf, ac nid i'w oedi hyd amser cyfleus. Nid oes gyfrwngoliaeth dros y byw a esgeuluso ei ddyledswydd ei hun. Ni cheisiaf ond a geisia Duw, sef ei oreu i ddadwneyd y drwg. Dim llai nid yw yn edifeirwch. Yn awr gadawaf y peth yn eich llaw chwi; eich Meistr doeth a'ch galluogo i wneuthur yn ol ei ewyllys Ef, a boddlon fyddaf finnau.

Eich cyd-was i Grist,

DAN JONES.

---

## PENNILLION GWEDDIOL Y SANT TRALLODUS YN BABILON.

O DDUW, O Dduw, tragwyddol Dad,
Pa bryd caf fyn'd i Seion fâd?
O fewn i'r Babilonaidd wlad
'Rwyf wedi blino byw.

CORUS.

O Dad, gwareder fi o Babilon,
Blinais, o blinais
Fyw yn hwy 'n hon.

O Dad, erfyniaf arnat Ti,
I gyd-ymdeimlo â myfi,

Ac i bwyso'm trallod i,
Yn ngwlad y cystudd mawr.

Trallodion ar drallodion sydd,
Yn blino'm hysbryd nos a dydd,
Beunydd 'rwyf yn rhodio'n brudd,
Yn ngwlad y cystudd mawr.

Treisir a gorthrymir fi,
Gan rai nad ydynt blant i Ti,—
Maent yn sychu'm hesgyrn i,
Gan faint fy nghystudd mawr.

Anwiredd sydd yn amlhau,
A chariad brawdol yn prinhau,
Trais a gorthrwm sy'n mwyhau,
Yn ngwlad y cystudd mawr.

Cyfiawnder hoff a'i gartref cu,
Yw gwrthrych serch fy nghalon i,
Am danynt beunydd mae fy nghri,
Yn ngwlad y cystudd mawr.

O Dad, dysgwyliais yn barhaus,
Gael myn'd o Babilon drahaus,—
Fy Nhad, na ddiystyra'm cais,
Yn ngwlad y cystudd mawr.

Dy Saint sy'n myned tua thre',
O'r Dwyrain, Gogledd, ac o'r Dê,
Ond fi o hyd yn wael fy lle,
Yn ngwlad y cystudd mawr.

Mae chwe' chant 'nawr o'r Cymry cu,
Yn myned draw a'm gadael i,
Yn Babilon yn brudd fy nghri.
Yn ngwlad y cystudd mawr.

Mae'm gobaith oediog yn gwanhau,
A'm enaid beunydd yn tristâu,
Fy ngofid dibaid sy'n mwyhau,
Yn ngwlad y cystudd mawr.

Dy angel glân a'm galwodd i,
O Babilon i'th Seion Di,
A cheisio wnaf nes gwelir fi,
O wlad y cystudd mawr.

CORUS.

O Dad, gwareder fi o Babilon,
Blinais, O blinais
Fyw yn hwy 'n hon

*Fflint.* THOS. CONWAY.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

### DYDD SADWRN, EBRILL 12, 1856.

CYFNEWIDIAD.—Y cyfnewidiad yn y Lywyddiaeth Gymreig ac yn Ngolygyddiaeth yr UDGORN sydd yn wybodus i bawb a ddarllenasant hysbysiad yr Hyglod Olygydd diweddaf yn y rhif-yn blaenorol, ac yn awr hyderwn y cydymdeimla y Saint yn y modd mwyaf dwys â'n hanalluawgrwydd i droi yn y fath gylch cyfrifol a phwysig, ac i'w lanw fel y gwnaeth ein Rhagflaenydd galluocach. Yr ydym yn mhell o fod mor hunanol ag i hòni yr un medrusrwydd mewn rhyfel ag hen filwr sydd wedi bod yn y frwydr yn ymladd â theulu'r fall megys am fywyd, a hyny o'r amser cyntaf y chwyfiodd faniar yr Iesu dros fryniau Gwalia hyd yn awr, oddieithr yr amser y bu yn hebrwng llu o Saint yr Arglwydd i'w diddosfan glud, y rhai a ennillodd o feddiant Satan i Deyrnas ein Duw ni mewn ychydig flynyddau, pan yn golygu y "Prophwyd." Yn y cyfamser aeth y frwydr mor boeth nes gweddio o honoch am gael yr "hen Gadben yn ol," ac atebwyd chwi gan Frenin y breninoedd, yr hwn a ddadguddiodd i'r Cadfridog yn Seion eich sefyllfa a'ch hawydd i'w weled, yr hwn a'i hanfonodd ef atoch drachefn, a chawsom yr anrhydedd o ddyfod gydag ef a'r brawd Thomas Jeremy oddi yno hyd yma.

Gwyddoch pa mor hynod oedd sain yr UDGORN o dan olygyddiaeth fedrusddoeth ei ddiweddar Olygydd, ac am y buddugoliaethau a ennillodd pawb yn ddieithriad ag a wnaethant yn ol ei gyfarwyddyd—mae yr oll yn arddangosiadau o addasrwydd yr udganwr. Yn flaenaf fe'i gwelwyd yn y fyddin bob amser yn erbyn gelynion y gwirionedd, ac y mae Duw Israel wedi nerthu ei fraich ac wedi rhoddi ei Ysbryd i'w arwain i ennill cymmeriad difrycheulyd, yr hwn oedd ei darian diogel. Mae

efe wedi myned a'n gadael etto, er hyny rhaid yw chwythu drwy yr "Udgorn" etto tra mae y rhyfel yn parhau. Er y dywedir fod Rwsia a Thwrci wedi dyfod i ammodau o heddwch, ond cofied y Saint—milwyr y Brenin Iesu, nad oes dim "heddwch" wedi ac na chaiff ei arwyddo rhwng Teyrnas Dduw â theyrnas y diafol, hyd nes y rhwymir Satan ac y daw pob tafod i gyffesu Crist yn Frenin dros wyneb yr holl ddaear. Buddugoliaeth a ddymuna a buddugoliaeth a gaiff pob Sant ffyddlon, a gwynfydedig yw yr hwn a wna ei ran dan bob amgylchiad fel y gwnaeth ein diweddar Lywydd.

Aeth o'n plith nid yn unig ein Llywydd a'n Golygydd, ond y mae llawer o hen filwyr ffyddlon, grymus, a phrofiadol hefyd wedi myned, ïe, y rhai dewraf. Dyma gyfnewidiad a chyfnod byth-gofadwy.

Wele ni druain gweiniaid a rhy anmhrofiadol, chwychwi Lywyddion y Cynnadleddau yn gynnwysedig, wedi ein gosod yn ein llefydd i wneuthur y goreu a allwn, eithr nid ydym megys rhai heb obaith, mae ein caerau amddiffynfaol a'u sylfaenau yn gadarnach ac yn uwch nâ dynoliaeth, mae holl lu y Nefoedd o'n plaid, mae y milwyr wedi ymarferyd ag aml brofiad, ac fe all parodrwydd, ufydd dod, a dewrder ychwanegol y filwriaeth wneuthur i fyny lawer o'r diffyg.

Gyd-filwyr anwyl, a gyflawnwch chwi ddiffyg eich Llywydd a'ch Golygydd sydd ar hyn o bryd yn anfedrus, trwy gadw yr arfogaeth ddwyfol yn loew, a'ch cleddyfau yn llym, ac y milwriwch wrth sain yr Udgorn, trwy yr hwn ni cheisiwn chwythu ond yr hyn fydd fwyaf dyddorol a llesiol.

Yn awr, ynte, bydded i ni oll gyda ein gilydd i gyd-ymdrechu nes cyflawni o honom amcan ein Brenin, ac yr enciliwn o dir y gelyn yn orchfygwyr i ben tŵr Seion, yr hyn yw gweddi calon eich

Gostyngedig was,

Daniel Daniels.

---

## Y "SPAULDING STORY" NEU Y BWCI GWAETHAF I RWYSTRO LLU I DD'OD YN SAINT.

Hyglod Olygydd,—Cefais y fraint uchelradd o ymuno â Saint y Dyddiau Diweddaf, a chael tystiolaeth foddhaol i mi fy hun

o eirwiredd Llyfr Mormon cyn i mi glywed sôn am y Bwci uchod; felly hawddach fyddai dryllio craig adamentaidd o saeth frwynen nag i neb fy narbwyllo i gredu mai o'r "Spaulding Romance" y gwnaed y Llyfr hwnw. Ond, nid felly pawb; clywais rai pobl ddeallus yn cyfaddef, mai y Bwci gwaethaf o bob hwdwg oedd yr ystori uchod i'w rhwystro i gredu yn nwyfoldeb Llyfr Mormon. A gresyn meddwl fod miloedd trwy y wlad yn bresennol, ïe, yn Nghymru, yn credu yn anysgogol mai "Chwedl Spaulding" wedi ei harallegu yw Llyfr Mormon! Pan y cyfeiriwyd fi gyntaf at y Bwci hwn, a llu o feibion y fall yn bloeddio "Bô, bô," gwyddwn, trwy y profion goreu a feddai Duw i'w blant, sef tystiolaethau teimladwy, eglurhaol, trwy yr Ysbryd Glân, fod Llyfr Mormon wedi ei ysgrifenu trwy neu dan ysbrydoliaeth y Nefoedd. Ac etto nid oedd genyf brofion boddhaol i'r byd (er fod digon i'w cael) o ddwyfoldeb Llyfr Mormon, ac nad aralleg ydoedd o'r "Spaulding Romance," fwy nag oedd gan y dall gynt i brofi fod Iesu Grist yn Fab Duw; nis gallasai ef ddweyd ond "lle yr oeddwn gynt yn ddall, yr wyf yn awr yn gweled". Nid oedd ei dystiolaeth ef yn eu boddloni hwynt, mwy nag y boddlonai fy nhystiolaeth innau fy nghymydogion.

Cannwaith y teimlais fy nghalon yn ddolurus pan yn pregethu i'm cydgenedl, o eisieu na fuaswn yn gwybod pwy, a pha fodd y lluniwyd y 'stori mai o'r "Spaulding Romance" *y gwnaed Llyfr Mormon.* Yn awr gyd-swyddog, frawd, neu chwaer, a elli di atteb pe gofynid i ti, gan bwy a pha fodd y lluniwyd yr ystori ddiolchgar uchod, yr hon sy'n rhwystr i filoedd i gredu mewn "Mormoniaeth"? Meddylia rhai, o bosibl, nad buddiol iddynt wybod am darddiad yr ystori uchod eu hunain gan eu bod wedi cael tystiolaeth o eirwiredd Llyfr Mormon, ond y maent yn camsynied, feddyliaf. Pe y cyhuddid brawd o fod yn euog o lofruddio dyn yn y fan ar fan y dydd o'r blaen, a ni yn gwybod gwell, oni fyddai yn ddyledswydd arnom i chwilio am y tystion a'r profion a feddem nad oedd ein brawd yn y cyfryw le y dydd hwnw, er cadw ei fywyd? Byddai, medd pob rheswm a dynoliaeth. Byddai, medd Duw ei hun. Ond pa faint mwy pwysig yma, pan y mae miloedd o onestion eu calonau mewn sefyllfa o golledigaeth o herwydd credu yr ystori uchod, pan yr ydym ni yn gwybod mai celwydd yw. "Diau ei fod yn ddyl-

edswydd arnom os yw yr ystori mor boblogaidd ag y nodwch," medd llawer o'r Saint yn awr, ond odid. Mor boblogaidd, aïe? Pa argraffwasg yn ein gwlad, a'r gwledydd, ïe, a'r byd braidd, ar nad yw wedi taflu yr ystori hon allan mewn rhyw ddull neu gilydd? Pa newyddiadur neu gyhoeddiad sydd wedi ymddangos ar nad yw yr ystori anwireddus hon wedi anharddu ei golofnau, ïe, a pha bwlpud neu ystôl, os bu pregethwyr sectyddol arni, ar nad yw y "Spaulding Story" wedi cael eu hadrodd gyda blas oddi arnynt, ac wedi cael ei llyncu yn llymynog gan eu gwrandawwyr? Pa bentref neu dref sydd ar nad yw eu muriau a'u drysau wedi cael eu brithio gan "hysbysiad" fod rhyw "Barch" neu gilydd i draddodi darlith ar "ddechreuad Mormoniaeth!!"—"*Admittance—Six Pence*" neu "*Shilling each*" cofier!!! Ac yno hwy a drwsient y *lady wen* neu y "Spaulding Story" hon, gan ei gosod ar ben pob post i ddychrynu eu gwrandawwyr, druain, rhag credu yn nwyfoldeb Llyfr Mormon. Felly y mae; ac y mae y Saint yn gyffredin yn rhy esgeulus i chwilio i fanylrwydd am darddiad yr ystori uchod, nes y mae llawer yn analluog i wrthbrofi haeriadau y "Peirch," ac i ddangos gwell i'w gwrandawwyr gonest.

Mae yn wir y gall y Saint yn rhwydd brofi ei ddwyfoldeb mewn ffordd arall, a thrwy hyny brofi y "Spaulding Story" yn gau, a'i dyfeiswyr yn ysgrifenwyr celwyddog; etto y mae yn ddyledswydd arnom i brofi hyny yn mhob ffordd a allwn, hyd nes dileu pob anghrediniaeth am y ffaith.

Heb achos manylu yn awr, digon fydd cyfeirio y darllenydd at y "Gwrthbrofion" effeithiol i'r ystori uchod, y rhai a gyhoeddwyd gan ein Hanwyl ddiweddar Lywydd Cadben Dan Jones. Mae y "Gwrthbrofion" hyn yn rhoddi hanes pwy a luniodd yr ystori,—b'le a phwy a'i cyhoeddodd, a'r cynlluniau a gymmerodd plant y fall i bardduo ein crefydd santaidd a'r Llyfr yr hwn a wyddom ei fod yn air Duw, nes y maent yn cloi eu hunain, ac yn cael eu dal yn eu twyll. Carwn i bob carwr y gwirionedd ddarllen y "Gwrthbrofion" cyfeiriedig yn bwyllog, a diau na ddyry ef o'i hyd oni fydd wedi cael ei argyhoeddi yn llwyr na fu i'r "Spaulding Romance" ddim mwy cyssylltiad â Llyfr Mormon nag a fu rhyngddi â llyfr y "weddi gyffredin," neu hanes Harri yr Wythfed; eled y sawl a ewyllysio achub pechadur a chuddio lliaws o anwireddau â chopi o'r traethawd

hwn i bob Vicar, Curad, a Chlochydd ag ydynt beunydd yn toncian tafod yr hen gloch hon, a phe caffai pob "Gol.," "Parch," a "Jack" sectyddol gopi o hono, effeithiau yn well ar eu colyddion i wella y folwst a'u cordda nag y gwna cerwin gyffeiriawl a lloned gwlad o'r *qwacks.* Gwneler hyn, frodyr, gyda brys, nes alltudio y "Spaulding Romance" o'n gwlad, ac y cywilyddir ei thraethu mwyach.

*Gynt o Dre-Sior.* THOMAS HARRIS.

---

## FFARWELL I CADBEN JONES!

GAN THOMAS HARRIS, GYNT O DRE-SIOR.

YN awr ar ol rhoi ffarwel i'n Llywydd—tirion dad,
'Rhwn ddaeth a gair y bywyd i'w enedigol wlad,
Fy nheimlad sy'n ddrylliedig—fy nghalon sydd mewn cur,
Wrth 'mado, er dros enyd, â gwron dros y gwir.

Fy meddwl a eheda fel awel dros y lli',
I Carthage, lle bu'n Cadben o fewn i'r carchar dŷ,
Yn nghwmni'n hanwyl Brophwyd a'r Patriarch ei frawd,
Heb ofni min y cleddyf, y byd, na'i ffroenllyd wawd.

Do, profodd drwy ei ddewrder ar yr Amerig dir,
Ei sêl dros Grist a'i weision, a'i gariad at y gwir;
Aberthodd bob anrhydedd a chyfoeth gwag y byd,
Gan roi ei hun a'i eiddo i Dduw a'i waith i gyd.

Daeth yma dros yr eigion a'i deulu gydag ef,
I Gymru—gwlad ei dadau, wrth alwad Brenin Nef;
Cyhoeddodd yr efengyl—llafuriodd nos a dydd,
Nes iddo ddwyn rhai miloedd i mewn i deulu'r ffydd.

Pob gradd o'r Peirch ddo'ent allan gan fygwth yn ddi-bwyll:
"Ni 'gonc'rwn yr hen *Gaptain*—dangoswn ei fawr dwyll;"
Ond methu wnaeth filwaith—'does neb all dd'wedyd llai,
Fe giliodd y "colegwyr" o'i flaen a'u safnau 'nghau!

Aeth wed'yn dros y moroedd â llu o Saint ein Duw,
O ganol trais a gormes i Seion dêr i fyw;
Arweiniodd hwynt yn dadol dros fryniau creiglyd serth,
Yn nghanol pob rhyw drallod—bu ef i'r Saint yn nerth.

'Nol iddo gyrhaedd Seion yn llonydd fawr ni fu,
Anturiodd drwy'r anialwch i blith anwaraidd lu,
I chwilio am hîl Madawg sy'n ngholl mewn dyrys dir,—
Ei fwriad oedd trosglwyddo i'r cyfryw grefydd bur.

Cyn cyrhaedd ei lawn amcan, 'rhoes Brigham gynghor cu
I Cadben Jones ddychwelyd i Gymru atom ni;
Ni welodd hyny 'n ormod—fe gododd lan fel cawr,
Ni dd'wedodd, '*Af os gallaf*,' ond ''RWYF YN BAROD 'NAWR.'

Dros y mynyddoedd creiglyd a'r moroedd eang daeth,
Nes cyrhaedd Gwalia etto, heb achwyn, er ei daith;
Ei lestr oedd yn orlawn—diwallodd ar bob llaw,
A'r dyfroedd bywiol ddygodd o'r bur ffynnonell draw.

Bu yma dros dair blynedd yn Flaenor yn y gâd,
Aberthodd bob rhyw deimlad er gwneyd i'r Saint leshâd;
A hwythau orfoleddent wrth dderbyn ei wir ddysg,
Nes teimlir cynnydd heddyw o gariad yn eu mhysg.

Bydd y cyfrolau gwerthfawr a ysgrifenodd oll,
Yn dystion o'i ddiwydrwydd—byth, byth nid ânt ar goll;
A'r miloedd argyhoeddwyd trwy ddarllen y rhai hyn,
Er cysur iddo welir yn llon ar Seion fryn.

Yn awr *mae gwedi cychwyn* o Gymru'r wythnos hon,
A chwe'chant dan ei ofal yn dringo brig y dôn;
Achosa hyny etto i Satan 'ddechreu gwau
Celwyddau câs, a'u chwythu drwy ei brophwydi gau.

Pa le mae'r gau brophwydi a dystient ar eu hynt—
"I Cadben Jones i werthu'r holl Saint i Cuba" gynt?
Os ydynt gwedi marw mae'u brodyr etto'n fyw,
A rhyfedd os nag unant 'ddweyd celwydd o'r un lliw.

Farwel ein hanwyl Fugail, ein Llywydd, ïe, ein Tad,
Hwyluser chwi a'ch cwmni i gyrhaedd Seion wlad;
Pob hwyl fedd *Saunders Curling* fo'n llawn o ddwyrain wynt,
I'ch cario tuag adref yn gyflym ar eich hynt.

*Abertawy, Ebrill* 10, 1856.

## ENGLYNION AR YR UN TESTUN.

GAN JOHN DAVIES, GYNT O FEIRION.

Y Cadben llawen a'n llywiodd—'medy
Am adeg o'i wirfodd;
A o'i faes mewn teilwng fodd,
Llu gerwin hyll a gurodd.

Un nerthawl a'i gynnorthwy—fu ein Dan,
Fe'n denodd o'n gofwy;
Un da'i foes—un wnaed yn fwy,
Tra yma 'roedd yn tramwy.

Trwy'i fywiol ddwyfol ddysg—cawn ei addef,
Cynnyddodd ein haddysg,
A thrwyddo daeth maeth i'n mysg,
A gemau yn ddigymysg.

Beunydd ein Llywydd mewn llwyddiant—fyddo
A'i feddwl ar welliant;
Gan fyw'n dduwiol—siriol Sant,
A'i gynnydd i ogoniant.

*Abertawy, Ebrill* 4, 1856,

---

## CAETH-FASNACHAETH YR AMERICA.

Yn annerchiad diweddar Llywydd Talaeth Missisippi ceir ei phenderfyniadau canlynol:— "Os gwna'r Brif Senedd (neu y Llywodraeth gyffredinol) wahardd caethfasnachaeth mewn un modd,—ei rhwystro mewn unrhyw Diriogaeth; neu rhag myned lle nad oedd o'r blaen pan mae cyfleustra i hyny; ymyraeth mewn unrhyw fodd yn erbyn gwerthiad caethion y naill Dalaeth mewn Talaeth arall, neu beidio derbyn unrhyw Diriogaeth i'r Undeb yn ei hiawn amser megys Talaeth o herwydd ei chaethfasnachaeth, bydd i Dalaeth Missisppi godi yn ei rhwysg dros ei hiawnderau, a mynu eu cynnal pe drwy rym ei harfau.

Tra mae yr un teimlad (dros gaethfasnachaeth) yn ymlosgi gyda gwangc waedlyd yn Nhaleithiau y Deheu, mae yr un mor frwd yn y gogledd i'w herbyn. Dealla pawb a ddarllenasant hanesion blaenorol ar y pen yma fod Tiriogaeth Kansas yn faes brwydr rhyngddynt. Mae y Deheu wedi ac yn parhau i anfon dynion i ymsefydlu yno, gan anfon arfau iddynt a swyddogion milwrol i'w blaenori pan yr elo yn frwydr rhyngddynt a'r rhai mae y Gogledd wedi eu hanfon i'w pwrpas hwythau *yn erbyn* caethfasnachaeth, ac er cael Kansas yn "Diriogaeth rhydd", "Os collwn Kansas, collwn yr holl sydd i'r dwyrain a'r gorllewin iddi (meddai y Deheu wrth eu gwyr). a mynwn ei hennill wrth ffroen y magnel a blaen y bidawg. Mae crogi

yn rhy ddai fradwyr damniol y Gogledd, &c." Meddai y Gogledd wrth ei gwroniaid hithau ar yr un pryd "Gwaredwch Kansas o'ch ymosodwyr mileinig trwy rym eich harfau a phrawf chwerw o'ch dewrder i'r myrddwyr, y lladron," &c., &c.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Yr Ymfudwyr.—Cafodd trigolion y dref hon oglygfa ychwanegol, ïe, bregeth effeithiol, trwy weled llu o Saint yr Arglwydd yn cefnu arnynt a'u gwynebau tua Seion. Prydnawn dydd Mawrth cafodd heolydd y dref eu brithio ganddynt; yr oedd yn destun syndod i'r byd i weled eu cariad a'u hundeb—y naill yn cynnorthwyo'r llall gyda'u *luggage*, eu plant, &c., ac nid oedd neb yn gorphwys nes oedd ei frawd wedi gorphen. Boreu dydd Mercher, y 9fed, gwelwyd y llu ar fwrdd yr agerfâd, yn barod i gychwyn tua Liverpool, a'u calonau yn llawen, ac yn dywedyd yn eu hymddygiad wrth y rhai a wylent ar eu hol—"Nac wylwch o'n plegid ni, eithr y mae mwy o achos i chwi wylo oblegid eich *hunain* ac oblegid eich plant." Yr oedd ein Hybarch Olygydd a'n Llywydd Daniels ganddynt fel tad yn eu hyfforddi ar y bwrdd, ac fe aeth ganddynt i Liverpool. Yn y prydnawn ymadawodd y Brawd D. Jones gyda'r agergerbyd i'w cyfarfod yn Liverpool, er darparu iddynt letty cysurus, &c.; ei fwyd a'i ddiod yw llesoli'r Saint Llwyddiant iddynt oll medd miloedd heblaw—T. H.

Cymmanfaoedd.—Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg ar y 20fed o Ebrill, Sir Frycheiniog ar y 27ain, Sir Fynwy ar y 4ydd o Fai, Gorllewin Morganwg ar yr 11eg, Llanelli ar y 18, Caerfyrddin ar y 25ain, Sir Benfro ar y 1af o Fehefin, a Sir Aberteifi ar yr 8fed.

*** Anfoner pob llythyrau, yn cynnwys eirchion a thaliadau i *Daniel Daniels, "Udgorn Seion" Office, Swansea.*

CYNNWYSIAD. TUD.



ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS.

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 9.] EBRILL 26, 1856. [CYF. IX.

## MILFLWYDDIANT.

GAN THOMAS HARRIS, GYNT O DRE-SIOR.

WRTH y gair hwn y deallwn unrhyw fil o flynyddoedd pa un bynag ai o dan deyrnasiad drygioni ynte cyfiawnder. Ond wrth "*Y Milflwyddiant*" yn gyffredin deallir am ryw fil o flynyddoedd neillduol a nodir am danynt yn yr ysgrythyrau, yn mha rai y bydd heddwch yn teyrnasu—sabboth mawr y greadigaeth, o'r hwn nid yw yr holl sabbothau a'r *jubilees* ereill ond cysgodau. Y mae yn ysgrifenedig yn ngair yr Arglwydd, fod "mil o flynyddoedd megys un dydd, ac un dydd megys mil o flynyddoedd ganddo Ef." Yna canfyddwn yn eglur fod saith mil o flynyddoedd yn saith o ddyddiau gan yr Arglwydd, a'r seithfed, neu y mil blynyddoedd diweddaf i fod yn sabboth neu yn jubili drwy yr holl greadigaeth; gorphwysfa a rhyddhâd oddiwrth gaethiwed a gofid.

Y sabboth cyntaf a benodwyd i ddyn oedd y seithfed dydd, yr hwn a gafodd ei santeiddio a'i neillduo gan y Creawdwr, ac yr oedd i gael ei ystyried gan ddyn fel dydd o orphwysfa iddo ei hun, ei deulu, a'i wasanaethyddion, ynghyd a'i anifeiliaid, ac hefyd dywedir fod yr Arglwydd wedi gorphwys oddiwrth ei holl waith.

Neillduwyd sabboth arall i blant Israel. (Gwel Lef. xxv.) Yr oedd hwn i gael ei gadw bob saith mlynedd. Yr oedd yn sabboth i'r ddaear i orphwys oddiwrth gael ei gwrteithio, ac

hyd y nod yr hyn a dyfasai o hono ei hun nid oedd yn ganiataöl i'w gasglu i mewn, ond i fod yn rhydd i bawb i gymmeryd o hono yn y fan lle y tyfasai.

Nid yn unig i'r ddaear yr oedd y seithfed flwyddyn hon yn orphwysfa, ond yr oedd yn fath o jubili, yn yr hon yr oedd y gofynwr i faddeu i'w ddyledwr—y gwas i fod yn rhydd oddiwrth ei feistr, &c. Y trydydd sabboth neu jubili a fu oedd y ddegfed flwyddyn a deugain, cyfrif saith mlynedd saith waith. (Lef. xxv, 10.)—"A santeiddiwch y ddegfed flwyddyn a deugain, a chyhoeddwch ryddid yn y wlad i'w holl drigolion: jubili fydd hi i chwi; a dychwelwch bob un i'w etifeddiaeth, ïe, dychwelwch bob un at ei deulu."

Beth benag, neillduwyd yr holl sabbothau hyn gan yr Arglwydd, a chafodd ei bobl yn yr amseroedd gynt eu mwynhau. Etto, dywed yr apostol a ysgrifenodd at yr Hebreaid, "Canys pe dygasai yr Iesu hwynt i orphwysfa, ni soniasai efe ar ol hyny am ddiwrnod arall." Cyfeiria yma at orphwysfa ddyfodol, o'r hon nid oedd yr holl sabbothau a'r *jubilees* a fu ond megys blaenbrawf o honi. Yr orphwysfa hon sydd i gael ei mwynhau gan Saint Duw am fil o flwyddi, dros ba amser bydd Satan yn glöedig yn y pudew diwaelod, ac ni thwylla y cenedloedd mwyach hyd oni chyflawnir yr amser. Y meirw yn Nghrist sydd i gael eu hadgyfodi ar ddechreuad y mil blynyddau hyn, ac hwy a deyrnasant gyda Christ megys breninoedd ac offeiriaid hyd nes y bydd y mil blynyddoedd wedi diweddu. Dyna'r adgyfodiad cyntaf. "Gwynfydedig a santaidd yw yr hwn sydd a rhan iddo yn yr adgyfodiad cyntaf: y rhai hyn nid oes i'r ailfarwolaeth awdurdod arnynt, eithr hwy a fyddant offeiriaid i Dduw ac i Grist, ac a deyrnasant gydag ef fil o flynyddoedd." Pwy bynag a deimla i ddarllen yr ugeinfed bennod o'r Datguddiad, fe gaiff lawer o fanylion ychwanegol mewn cyssylltiad â'r "Milflwyddiant," pa rai sydd yn ddigon eglur i'r cyffredin i'w deall.

Os bydd y gofyniad yn codi yn meddwl rhywun.—Pa le y bydd y Saint adgyfodedig hyn yn teyrnasu yn ystod y Mil blynyddoedd? dywedaf fod y 10fed adnod o'r 5med bennod o'r Datguddiad yn ateb fel y canlyn:—"*Ni* a deyrnaswn ar y *ddaear!*"

Yn awr, gwel y darllenydd ystyriol fy mod wedi nodi *dwy*

ffaith bwysig, sef yr *amser* a'r *lle*. (yr amser yn fil o flynyddoedd, a'r lle ar y ddaear). Yn bresennol, ddarllenydd, dere yn y blaen yn mhellach, er chwilio am ffeithiau ereill sydd mewn cyssylltiad â'r mil blynyddoedd hyn o deyrnasu ar y ddaear gyda Christ.

Y prophwyd Zechariah a'n hysbysa y bydd "Un Arglwydd, a'i enw yn un, ac Efe a fydd yn Frenin ar yr holl ddaear." Ioan hefyd a ddywed y daw "holl deyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist Ef." Daniel a dystia y bydd i'r "Freniniaeth a mawredd y freniniaeth *dan yr holl nefoedd* i gael ei rhoddi i bobl Saint y Goruchaf." Ac mewn man arall dywed—"Eithr Saint y Goruchaf a dderbyniant y freniniaeth, ac a feddiannant y freniniaeth hyd byth, a hyd byth bythoedd."

Gallwn ddyfynu ychwaneg o ysgrifeniadau y prophwydi i brofi hyn, ond os na foddlona y darllenydd ar dystiolaethau y tri blaenorol, tebyg yw na fyddai iddo gael ei foddloni pe dyfynwn ychwaneg.

Oddiwrth y dyfyniadau blaenorol y mae yn ymddangos y bydd, yn y mil blynyddoedd, i'r holl groes ffurfiadau gwladwriaethol a chrefyddol a fodolant yn flaenorol i gael eu llyncu fyny i un undeb perffaith—un lywodraeth gyffredinol—heb unrhyw gyfreithiau ond cyfreithiau o osodiad Duw, a'r Saint i weinyddu ynddynt; a'r unig offeiriaid perthynol i'r cyfnod dedwydd hwnw fyddant rai adgyfodedig.

Dichon fod y darllenydd yn dywedyd:—Mae arswyd yn dal fy enaid! syllaf mewn syndod!! yr wyf yn rhyfeddu!!! Beth! y llywodraethau Ewropaidd—y werin-lywodraeth Americanaidd—y llywodraethau gormesol Indiaidd—amherodraeth helaeth China—teyrnasoedd cymmysgedig Asia ac Affrica—llwythau lliosog yr anialwch, a thrigolion dirif yr ynysoedd Oll—oll i gael eu difodi—i ddystrywio—neu i fyned yn *un*—*un* corff gwladwriaethol—*un* amherodraeth heddychol—*un* Arglwydd, ac *un* Brenin dros yr holl ddaear.

Ië, a thestun a wna i'r byd i synu mwy o'i herwydd yw meddwl y bydd i'r gwahanol bleidiau, enwadau, credöau, a ffyddiau dynion, pa rai sydd yn wasgaredig drwy y byd, oll i ffoi o flaen pelydrau dysclaeriach dwyfol wirionedd, yr hwn a ymledaena nes amdoi gwyneb yr holl ddaear.

Y miloedd defodau ofergoelus paganaidd oll a ysgubir ym-

aith. Enwau eu dirif eilun-dduwiau a syrthiant i ebergofiant, heb sôn am danynt mwyach.

Ar y ddaear bydd *un* Brenin, *un* Arglwydd, a'i enw yn *un*.

A all rhywun adnabyddus â'r natur ddynol, ac â sefyllfa bresennol gwledydd a chrefyddau y byd, gredu y cymmer y fath gyfnewidiau dirfawr le. Arweinir dyn braidd i waeddu: *Anmhosibl.* Er hyny nid oes lle i ddewisiad ond rhaid credu yr oll, neu anghredu y prophwydi.

Arweinir y darllenydd yn naturiol i ymholi trwy ba gyfryngau y cymmer y fath gyfnewidiau le—y fath chwyldroadau rhyfeddol a digyffelyb.

Yr ystyriaeth gyntaf a phwysicaf ag sydd yn ymgynnyg i'r meddwl wrth chwilio y prophwydi ar y pwnc hwn yw, fod Duw i estyn allan ei law yr ail waith er adferyd tŷ Israel a thŷ Juda i'w hiawnderau cenedlaethol, i ffafr Duw, ac i'w tir eu hunain. Ymgasglant o blith pob cenedl dan y nefoedd, gyda eu harian a'u haur, a'u holl drysorau drudfawr, &c., mewn llongau, agerfadau, ac ager-gerbydau, ar geffylau, mulod, camelod, ac ar anifeiliaid cyflym, gan ddefnyddio pob cyfleusdra a ellir ddyfeisio. Cymmer yr ymgasgliad hwn le gyda llaw gadarn, gyda braich estynedig, a chyda llidiawgrwydd tywalltedig, ac mewn gair, braich Jehofa a ddynoethir o flaen llygaid y cenedloedd, mewn arwyddion, mewn rhyfeddodau, mewn gwyrthiau, mewn dadguddiadau, mewn barnedigaethau, ac mewn tosturi.

Y dyfroedd a ranir, a'i bobl Ef a arweinir trwyddynt yn droed-sych, megys ag yn y dyddiau gynt. Y mynyddoedd a deimlant ei allu, ac a doddant fel cwyr; a therfynau y bryniau tragywyddol a grynant yn ei ymddangosiad; canys Efe a rwyga y nefoedd, ac a ddaw i waered, ac a wna bethau ofnadwy—pethau nad ydys yn dysgwyl am danynt. Efe wna ddywedyd wrth y gogledd "dyro fyny," ac wrth y deheu "nac attal; dwg fy meibion o bell, a'm merched o eithaf y ddaear." "Efe a gyfyd faner i'r cenedloedd, ac a gynnull grwydriaid Israel, ac a gasgl wasgaredigion Judah o bedair congl y ddaear." Y gallu a amlygwyd yn nygiad Israel o'r Aifft gynt ni fydd i'w gymharu, ni ddaw braidd i'r cof neu i'r meddwl, pan ei cyferbynir â'r adferiad mawreddog ag sydd yn aros y bobl hyny. Mae tynged y cenedloedd yn crogi ar y pwnc hwn megys ar begwn.

Eu bendithion gwladwriaethol a chrefyddol, neu eu melldithion, ie, mewn gwirionedd. y mae eu bodoliaeth yn ymddibynu ar y llwybr a gymmerant mewn cyssylltiad â gwaith Duw yn casglu ei bobl Israel. Gallant wrthwynebu, a chael eu chwyrn-daflu i ddystryw megys Pharaoh gynt; neu, gallant gynnorthwyo, a chael eu bendithio megys Ruth. Gallant ddyfod i gyfammod, a bod yn gyfranogwyr o'r bendithion gyda ei ddewisedig bobl; neu gallant lynu gyda eu coel-grefyddau, a'u traddodiadau sectyddol, a thrwy hyny gael allan eu bod yn rhyfela yn erbyn Duw, nes y byddo gorseddau wedi cael eu bwrw i'r llawr, a'r farn wedi eu rhoddi i Saint y Goruchaf Dduw.

Am brofion ysgrythyrol o'r pynciau pwysig yma, cyfeiriaf y darllenydd i ddarllen yn ofalus ysgrifeniadau y prophwydi, yn neilduol eiddo Esaiah, Jeremiah, Ezeciel, Daniel, a Zechariah. Rhai o'r ffeithiau mwyaf dyddorol mewn perthynas i'r pynciau pwysig hyn a geir yn Esaiah xi, Ezeciel xx, Jer. xvi, Zech. xiv. Y darllenydd manwl wna ganfod geirwiredd y sylwadau blaenorol, heb le i ammheuaeth, ac yn mhellach o lawer nas gellir dywedyd yn bresennol.

Y mae *Ail ddyfodiad y Mesiah* yn dal cyssylltiad agos â'r adferiad rhag-grybwylliedig. Bydd ei ail ddyfodiod yn *bersonol* a *gweledig*; yn gymmaint felly ag oedd ei ddyfodiad cyntaf.

Enoch, y saithfed o Adda, a ddywedodd y byddai iddo ddyfod gyda myrddiwn o'i saint.

Job a dystiodd y byddai iddo sefyll ar y ddaear yn y dydd diweddaf, gan ddywedyd, "caf weled Duw yn fy nghnawd."

Esaiah a'i darlunia yn dyfod mewn dialedd i ad-dalu y dryglonus; gan sathru y bobl yn ei ddig, a'u mathru yn ei lidiawgrwydd; ei fod yn dyfod fel mewn rhyfel gerbydau tanllyd i ddystrywio ei elynion, ac er llawenydd a gwaredigaeth i'w Saint, sef y rhai hyny a grynant wrth ei air Ef.

Daniel a'i gwelodd yn dyfod yn nghymylau y nef.

Zechariah a rhag-ddywedodd y byddai ei draed i sefyll ar Fynydd yr Olewydd, er gwaredigaeth Israel, ac er dystryw eu gelynion; ac y buasai i'r mynydd ymollwng o dan ei draed, ac i hollti, gan adael dyffryn yn ei le; y byddai i'r holl saint i ddyfod gydag Ef, ac y bydd Jerusalem a'r Iuddewon yn santaidd o'r dydd hwnw allan; ac y bydd yr holl genedloedd trwy y gwledydd amgylchynol yn myned i Jerusalem unwaith yn y

flwyddyn, i addoli y Brenin, sef Arglwydd y lluoedd, ac i gadw gwyl y pebyll.

Malachi a dystia am ei ddyfodiad, gan ymholi pwy a oddef ddydd ei ddyfodiad, a phwy a saif yn ei ymddangosiad, oblegid y byddai fel tân y toddydd, fel sebon y golchyddion, ac y bydd iddo eistedd fel purwr a glanhâwr arian.

Pedr a rag-ddywedodd y byddai i'r Iesu ddyfod mewn tân fflamllyd, gan roddi dial; hefyd. y byddai iddo fyned at yr Iuddewon, ar ol iddo gael ei dderbyn gan y Nefoedd hyd amseroedd adferiad pob peth.

Dywedodd yr Iesu hefyd y byddai iddo ddyfod gyda'i angylion santaidd, ac y byddai nerthoedd y nefoedd i gael eu hysgwyd; ac y byddai dystryw i gymmeryd lle, yn debyg i'r hyn a fu yn nyddiau Noe, ac yn nyddiau Lot.

Tystiai yr angylion ar yr amser yr adgyfododd o'r bedd, y byddai iddo etto ddyfod yn yr un dull ag yr esgynodd, hyny yw, yn bersonol, yn gorfforol, ac yn weledig yn nghymylau y nef.

Y mae Dadguddiadau Ioan yn cadarnhau ail-ddyfodiad y Messiah, ac hyd y nod yn egluro y bydd i'w elynion ei weled, ac y galara holl lwythau y ddaear o'i herwydd, ac yn diweddu ei gyfrol gan ddywedyd, "Amen. Yn wir tyred, Arglwydd Iesu." Yn awr, y mae yn ffaith fod yr holl dystiolaethau hyn yn cyfeirio yn ddieithriad at ei ail ddyfodiad, ac nid at ei ddyfodiad cyntaf; canys yr oedd llawer o honynt wedi eu llefaru ar ol ei ddyfodiad cyntaf, ac y mae yr oll o honynt yn desgrifio amgylchiadau hollol wahanol i'r cyfryw a berthynent i'w ddyfodiad cyntaf, ac felly nid yw yn bosibl eu bod yn cyfeirio at hyny.

Wedi profi yn ddiwrthbrawf y bydd i'r mil blynyddoedd ddyfod i mewn gydag adferiad yr Israel—ail adeiladiad Jerusalem—ail ddyfodiad y Messiah—dystryw yr annuwiol, a sefydliad cyffredinol teyrnas yr hedd dros wyneb yr holl ddaear. Yn awr, gwnaf ddesgrifio ychydig ar natur y "milflwyddiant," a'r bendithion a fwynheir o dan y dedwydd deyrnasiad hyny.

Y mae yn eglur y bydd y rhai hyny a adgyfodir oddiwrth y meirw yn fodau anfarwol, o ganlyniad, ni chymmerant arnynt ddyledswyddau a mwynhâd priodol i sefyllfa farwol; ond hwy a drigant yn y ddinas santaidd, a byddant yn freninoedd ac yn

offeiriaid, i weinyddu achosion y llywodraeth, ac i hyfforddu y bobl. Ond y rhai fyddant etto heb eu gwisgo ag anfarwoldeb, ond a waredwyd yn fyw hyd ail ddyfodiad y Messiah, hwy a feddiannant y ddaear gyda'i holl gyfoeth a'i bendithion, fel Noe a'i deulu pan y daethant allan o'r arch. Hauant eu maesydd a bwytânt o'u ffrwyth; planant winllanoedd ac yfant o'u gwin, adeiladant dai a dinasoedd a chyfanneddant ynddynt. "Y garddwr a oddiwes y medelwr, a sathrydd y grawnwin yr hauwr hâd;" mewn gair, hwy a "gurant eu cleddyfau yn sychau, a'u gwaywffyn yn bladuriau, ac ni ddysgant ryfel mwyach." "Y blaidd a drig gyda'r oen, a'r llewpart a orwedd gyda'r mynn; y llo hefyd, a chenau y llew, a'r anifail brâs, fyddant ynghyd, a bachgen bychan a'u harwain. Y fuwch hefyd a'r arth a borant ynghyd; eu llydnod a gydorweddant: y llew, fel yr ych, a bawr wellt, a'r plentyn sugno a chwery wrth dwll yr asp." Y felldith a gymmerir oddiar wyneb y ddaear, a pheidia ddwyn allan ddrain ac ysgall, ac fe ddaw yn ffrwythlon fel paradwys, pan y bydd afiechyd, a phoenau o bob natur yn hollol anadnabyddus braidd trwy yr holl dir; felly bydd heddwch, llawenydd, gwirionedd, cariad, gwybodaeth, digonedd, a gogoniant yn gordoi gwyneb y ddaear fel y mae y dyfroedd yn toi y môroedd. Bydd pabell Duw a'i gyssegr gyda dyn, yn nghanol y dinasoedd santaidd, a llawenydd a gorfoledd a lanwant fesur eu cwpan.

*(I'w barhau.)*

---

## LLYTHYR Y GOLYGYDD AT EI ARGRAFFYDD.

*Liverpool, Ebrill* 20, 1856.

Anwyl Frawd Harris,—Cefais hamdden o'r diwedd i ysgrifenu gair atoch. Mae wedi bod yn amser prysur iawn arnom yma nos a dydd. Rhoddaswn fanylrwydd o hanes ein taith o Abertawy hyd yma gyda'r "Troubadour," oni bai fod y Brawd Wm. Lewis wedi cychwyn yn ol yr un ffordd oddiar ddoe, ac fy mod yn dysgwyl y cyrhaedda yna heno, pan y rhodda yr holl hanes i chwi. Gobeithiaf y cyrhaedda yna yn iach, ac y caiff chwithau oll yr un modd.

Cychwynodd y llong "Saunders Curling" y ddoe (dydd Sad-

wrn) o'r afon Mersey, am unarddeg o'r gloch y boreu. Aeth yr agerfâd a hi allan am 32 o filltiroedd i'r môr, ac aethym innau i'w hebrwng cyn belled. Yr oedd pawb yn iach ac wrth fodd eu calonau, a chaniadau Seion yn felys yn eu geneuau. Gorchwyl caled oedd i mi ymadael â'r holl frodyr a chwiorydd hen a ffyddlon, yn neillduol â'r Llywydd Jones, ar ol cyd-deithio môr a thir, a chyd-weithio law yn llaw ag ef cyhyd. Er mor anwyled eu cwmpeini, yn enwedig ar anturiaeth mor ddymunol â "morio tua Seion o gaethiwed gwlad gelynion," cefais nerth i orchfygu teimlad pan feddyliais am y lleill ag sydd etto ar ol yn hiraethu am yr un fraint. Cyrhaeddais yn ol yma am naw o'r gloch y nos.

Rhifedi yr ymfudwyr ar fwrdd yr "S. Curling" oedd 707. Maent o dan Lywyddiaeth y Brawd Jones.

Y mae llong arall, sef y "Thorton," i gychwyn allan yn llawn o Saint ar yr ail o Fai. Nis gwn pa bryd yr aiff y nesaf ar ei hol.

Gwelwch fod gwaith mawr yr ymgasgliad yn myned rhagddo —y Saint yn ffoi megys colomenod i'w ffenestri. Caniadau a llawenydd tragwyddol sydd ar eu penau, awelon y nef sydd yn llanw hwyliau eu llestr, a Duw Jacob wrth y llyw.

Dymunaf i chwi osod ychydig o hanes y daith o Abertawy hyd yma yn yr UDGORN, gan fod pethau yn perthyn iddi ag sydd yn deilwng o sylw.

Nis gwn pa mor gynted y rhyddheir fi oddiyma er dyfod yna; cewch wybod etto.

Terfynaf, gyda'm cofiant caredig atoch chwi, a John Davies, a'r Saint oll.

Ydwyf eich gostyngedig gyd-was,

DANIEL DANIELS.

---

## PENNILL.

TRWY yr efengyl cawn
Fynwesau llawn gorfoledd,
Ac ern(?)s gan ein tad
O'i hir barhâd diddiwedd;
Am hyny glynwn oll—
Mae digoll addewidion,
Y cawn ni feddu gwlad
Sy'n llawn o fâd fendithion.

*Alltwen.* D. W.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

DYDD SADWRN, EBRILL 26, 1856.


Y CYFNEWIDIAD a nodasom yn ein rhifyn blaenorol oedd un o effeithiau yr ymfudiad. Effeithia mewn llawer man heblaw yma. Rhagwelodd ein Llywyddion hyn, a dywedasant hyny yn Nghynghor byth-gofadwy Merthyr. Gwelwn yn awr ganoedd o'n brodyr a'n chwiorydd wedi cychwyn tua Seion. Fe ddywedwyd nad oedd achos i neb aros ar ol er cynnal yr Henuriaid a'r achos, &c., yr edrychai Duw at hyny. Deallem wrthynt mai po amlaf yr ymfudiad, po amlaf y rhai a fedyddid, yr hyn sydd wedi ail ddechreu braidd yn mhob lle. Dywedwn ninnau hefyd am i'r Llywyddion beidio ag ofni drostynt eu hunain, nac achos Duw, canys fe enfyn Efe ereill yn lle y rhai a aethant. Fe aeth tua chant o honynt ar gost y Drysorfa yn gyfan-gwbl. Gan mai am eu hir ffyddlondeb eu hetholwyd, bydd yn annogaeth i ereill efelychu—i ymdrechu mwy gyda'r gwaith, ac i agor eu calonau a'u llogellau yn gyferbyniol i'w ofyniadau, fel eu digoner â bendithion Duw.

Effeithia yr ymfudiad hefyd ar gylchrediad yr UDGORN, yr hyn sydd yn dda gan ein calon, gan mai ymfudiad y Saint i Seion sydd yn ei effeithio. Fe gafodd pob Llywydd ei ryddid i anfon am cyn lleied a fynai o'r UDGORN. Yn ol yr ychydig a argraffwn yn bresennol, y mae yn orchwyl rhy anhawdd braidd i'w ddwyn allan am geiniog, ond yn ol y rhesymau a'r ammodau a ganlyn:—

1. Gan na fydd rhifynau yn sefyll ar law, ac fod y rhifedi cyn lleied, mae yn resymol i bob un dalu yn gysson am y llyfrau a gaffo.

2. Dysgwyliwn na fydd i'r un prif ddosparthwr fod fwy na mis o bellaf heb anfon taliad. Dymunwn arnoch chwi, Frodyr

anwyl, y Llywyddion, yr edrychwch at hyn, ac at daliadau y Cangenau,—eu bod yn gyfwerth â'r llyfrau a dderbyniant gan y prif ddosparthwr.

3. Oddieithr i'r taliadau a ddeuant i fewn fod yn gyfwerth â'r rhif o UDGORN a â allan o'r Swyddfa, nis gellir ei werthu am geiniog y rhifyn. Teimled y Saint eu dyledswydd yn hyn, ac na fydded y Llywyddion yn ol o'i ddangos iddynt, nac o gydweithredu â'u holl galonau gyda ninnau.

---

Y SAINT YMFUDOL.—Aeth tua 150 o'r Saint gyda y "Troubadour" i Liverpool. Bu y rhan fwyaf dipyn yn glaf am tua 6 awr; eithr o Milford yn mlaen cawsom amser hyfryd a llawen. Nid oes achos i'r Saint ofni yr agerfâd, y mae tipyn o glefyd y môr yn gwneyd lles mawr. Bu y *Captain* a'r *Mate* yn garedig dros ben i'r Saint, a rhoddasant roesaw mawr i ninnau; y maent yn teilyngu diolchgarwch y Saint a bendith ein Duw. Ysgafnhasant bris y cludiad i amryw deuluoedd lliosog, yr hyn sydd yn annogaeth i ychwaneg ddyfod y ffordd hon. Aeth cannoedd ereill o Saint o gylchoedd Merthyr, Mynwy, a Brycheiniog yn llwyddiannus gyda y rheilffordd i Liverpool. Am ychwaneg o hanes yr ymfudwyr, edrycher yn ein llythyr yn nhud. 135 o'r rhifyn hwn.

---

## ANNERCHIAD YR HENURIAD ISRAEL EVANS AT Y SAINT CYMREIG.

BARCHUS OLYGYDD,—Gyda theimladau diolchgar i Dduw y cymmeraf fy ysgrifell er trosglwyddo rhai o'm meddyliau trwy eich HUDGORN, ar ddechreuad fy ngweinidogaeth yn y Dywysogaeth Gymreig.

Yr oeddwn yn awyddus am ymweled â Chymru er pan yr oeddwn yn blentyn, o herwydd mai dyma wlad enedigol fy nhadau, er nad ydynt hwy ar dir y byw yn bresennol.

Yn ngwanwyn 1853 anfonwyd fi ar genadiaeth i Loegr, lle y cyrhaeddais Ionawr 13, 1854, ynghyd a'r Brawd Jesse B. Martin. Gosodwyd fi i lafurio yn Nghynnadledd Warwickshire, lle yr arosais hyd ddiwedd y flwyddyn hono, pan y gosodwyd fi i lywyddu Cynnadledd Derbyshire, ac yn niwedd 1855 anfonwyd fi oddiyno i lafurio gyda chwi yma. Llamodd fy nghalon

gan lawenydd pan y dywedodd y Llywydd Franklin wrthyf,—"Frawd Israel—Yr wyf am i chwi a'r Brawd Ashby fyned i Gymru i lafurio, ac i ddysgu yr iaith Gymraeg, yr hyn fydd yn fendith dragywyddol i chwi." Wedi cymhwyso fy nghyfrifon, a therfynu fy rhan o'r fusnes yn y Gynnadledd, cychwynais gyda'r Brawd Ashby ar ein taith i Gymru. Aml ac amrywiol oedd y meddyliau oedd ynwyf cyn i mi dirio ar dir Gwalia. Gyda chalon ysgafn a cham chwyrn yr esgynais y *Pier Head*, a theimlais i ofyn,—Ai dyma y wlad lle y bu fyw, y blodeuodd ac y bu farw fy nhadau? A adawsont hwy rywun i gadw eu henwau mewn coffadwriaeth, a'u gwneuthur yn anrhydeddus yn mhlith pobl Dduw? Yr atebion oeddynt,—"Ië, dyma wlad dy dadau. Tydi yw y gwr sydd wedi dyfod allan yn eofn yn ngwyneb dynion a diafliaid i anrhydeddu Arglwydd Dduw dy dadau yn nghanol gŵg a gwawd.' Pan yr wyf wedi teimlo i ddweyd,—"Fy nhadau—pa le y maent?" teimlaf fel pe byddai eu hysbrydion yn hofran o'm hamgylch, gan sibrwd yn fy nghlust—"Cant groesaw i ti yn ngwlad dy dadau, o herwydd yr Offeiriadaeth dragywyddol sydd genyt, trwy yr hon yr wyt yn offeryn yn llaw yr Arglwydd i wneuthur yn hysbys i'th frodyr un-waed egwyddorion bywyd ac iachawdwriaeth, a'u casglu i Seion, lle y gallant wneuthur gwaith drosom ni, y rhai ydym wedi myned trwy drafferthion marwoldeb heb wybodaeth o'r wir Efengyl. Yr ydym yn edrych yn bryderus arnoch chwi ag sydd yn mwynhau breintiau yr efengyl ar y ddaear, i wneuthur drosom yr hyn ni chawsom gyfleusdra i wneuthur drosom ein hunain, fel y delom allan yn adgyfodiad y cyfiawnion i etifeddu bywydau tragywyddol, a gogoniant yn nheyrnas Dduw."

Mae y wybodaeth a feddaf o'r pethau hyn, pan y myfyriaf arnynt, yn ysbrydoli fy enaid â nerth oddiwrth yr Arglwydd, nid eiddo fy hunan, i fod yn ddiwyd a gostyngedig, ufydd a phenderfynol yn yr oll a ofynir oddiar fy llaw gan yr Arglwydd neu ei weision.

Teimlaf yn wir ddiolchgar am y fraint o gael llafurio o dan eich Llywyddiaeth, canys yr wyf yn gwybod fod calonau y Saint gyda chwi, ac fod eu gweddiau drosoch yn esgyn yn barhaus gerbron Arglwydd y lluoedd, ar i chwi gael nerth ac iechyd, ac i fendithion yr Arglwydd i fod gyda chwi yn eich

holl weinyddiadau, fel y llwyddo y genadiaeth yn ol dymuniadau eich calon.

Mae yn dda genyf allu dywedyd fod gan y Saint y teimladau goreu tuag at y Llywydd Dan Jones, ac y mae eu gweddiau ar yr Arglwydd am dywallt bendithion y nef arno ef, ac ar bawb a deithiant i Seion dan ei ofal.

Mor belled ag yr wyf wedi dyfod yn adnabyddus â'r Saint Cymreig, yr wyf yn eu cael yn eithaf Mormoniaid calon gynes, y rhai ag ydynt yn foddlon i wneuthur pob peth a ofynir oddi ar eu dwylaw bob amser, ac y mae hyny yn llefaru cyfrolau o bethau da i mi am danynt hwy a'r rhai hyny ag ydynt wedi bod yn llafurio mor llwyddiannus yn eu plith. Dyry hyn i mi lawenydd ac ymddiried yn yr Arglwydd yn barhaus, canys mi a wn mai yn gymmaint ag y byddwn ufydd a ffyddlon i ddwyn oddiamgylch eich cynghorion a'ch addysgiadau, a thrwy hyny gydnabod awdurdod yr Arglwydd, ni fydd iddo Ef ein gadael, eithr nyni a lwyddwn, a bydd yn dda arnom o hyd. Ac mi a ddywedaf wrth y Saint,—Er fod amryw wedi ymfudo tua Seion o rai ag oedd yn gryfion yn yr Arglwydd, ïe, a fuont yn gestyll cryfion i'w bobl, a'n gadael ni i wrthsefyll gwrthwynebwyr y gwirionedd heb eu presennoldeb, ond bydd eu gweddiau gyda ni, ac y mae taer weddi y cyfiawn yn beth grymus. Y mae yr Arglwydd hefyd gyda ni i'n cynnorthwyo, canys ei waith Ef ydyw hwn; a phwy a eill fesur breichiau yr Hollalluog? Am hyny, anwyl Saint, teimlwn yn foddlon bod yn ffyddlon i'r Arglwydd lle bynag y byddom gan gofio pwysigrwydd a mawredd y gwaith dwyfol a gyflawnwn, gan wybod o hyd ei fod yn ofynol gweithio a'n holl egni er bod yn ddefnyddiol i'r Arglwydd er adeiladu ei deyrnas ar y ddaear.

Teimlaf yn wir ddiolchgar am y derbyniad croesawus ag wyf wedi gael gan y Saint yn gyffredinol. Caniatewch i mi gydnabod hyny trwy yr Udgorn, ac i ddywedyd,—Duw a'u bendithio am hyny Tuedded ein cyfeillach i gysuro a chalonogi y naill y llall, ac i hwyluso gwaith yr Arglwydd. Bydded y llwybr a gymmerom o'r cyfryw natur a fythola ymddiried a chariad brawdol diddarfod, yn y naill at y llall, i waered hyd y genedlaeth olaf.

Terfynaf yn awr, gan ofni fy mod wedi troseddu ar eich tudalenau; os do, hyderaf y maddeuwch y tro hwn. Gwir

ddymuniad fy enaid, a'm gweddi barhaus ar Arglwydd y lluoedd yw, dros eich llwyddiant dyfodol, fel y byddoch alluog bob amser i gyflawni caled-waith eich swydd.

Ydwyf, fel arferol,

Eich brawd yn achos y gwirionedd,

ISRAEL EVANS.

---

## BUDDUGOLIAETH Y SAINT AR Y BYD.

GAN JOHN DAVIES, GYNT O FEIRION.

(TÔN—"*Dyfyrwch Gwyr Harlech.*")

RHYFEDD! rhyfedd! mor awyddus,
Ydyw dynion eiddigeddus,
Am gael gwrthod mewn modd gwarthus
Iesu, Frenin Nef;
Uno mae y "doethion,"
Gyda yr ynfydion,—
Oll o hyd yn rhoi eu bryd,
Ar ladd y rhai cyfiawnion;
Rhyfel, rhyfel yw darogan
Plant y byd, a'u penaeth Satan,—
Ymfyddino maent yn mhobman,
Dan ei lywiad ef.

Deffr'wn, deffr'wn, filwyr Iesu,
Ac ymnerthwn yn ei allu,
Fel gwroniaid i orchfygu,
Ein gelynion câs;
Chwifier 'nawr yn uchel,
Faniar nef i'r awel,
A rho'wn sain ein HUDGORN cain,
I wahodd pawb i ryfel;
Ymgynnullwn lu mawreddog,
A gwrthsafwn yn galonog,
Gwnawn i'r gelyn deimlo'n ofnog,
Trwy y cleddyf glâs.

Buan, buan ein cyfnerthir,
Meib y goedwig a wareiddir,
Llwythau Israel—hwy ddychwelir
'Nol o'r gogledd dir;
Rhodiant mewn anrhydedd,
Rhwysg ac arucheledd.—
Creigiau certh o flaen eu nerth,
Ostyngant yn wastadedd;

Llengoedd nef a ddeuant hefyd,
Marchog wnant o wlad y gwynfyd,
A rhyfelwn oll yn unfryd,
'Nawr yn mhlaid y gwir.

Dysclaer, dysclaer, fydd ein harfau,
Chwifio'n uchel wna'n baneriau,—
Sain ein hudgyrn gryn galonau
Beilchion blant y byd;
Gwelir gallu dwyfol,
Fel yr haul tanbeidiol,
Arnom 'nawr;—O, Babel Fawr—
Mae 'th dynged yn arswydol;
Dy breswylwyr a'n drygasant,—
Dy freninoedd a'u gogoniant,
Wthiwn 'nawr i ebergofiant,
'Nol ein blino cyd.

Ymdaith wnawn yn mhob cyfeiriad,
Teimlir, teimlir ein gweithrediad,
Yn ein trylwyr oresgyniad,
Ar deyrnasoedd byd;
Rhwygwn bob llywodraeth,
Chwalwn eu huchelaeth,—
Daw i lawr bob teyrn yn awr,
I warth a llwyr ddifrodaeth;
I'n gelynion dyblyg dâlwn,
Pob annuwiol a ddinystrwn,—
Llwch eu hesgyrn 'nawr a sathrwn,
Dan ein traed o hyd.

Yn awr, yn awr, ni gawn lonyddwch,
Taenir drosom edyn heddwch,
A thŷr gwawl ein hir ddedwyddwch,
Yn ddysclaerwych iawn;
Iesu 'nawr deyrnasa,
Cyfiawn ddeddf osoda,
A bydd hedd i loni gwedd,—
Un gwyneb mwy nis gwywa;
Rhydd y ddaear ei chynyrchion,
I ddiwallu pob anghenion,—
Ninnau rodiwn fel angylion,
Mewn gorfoledd llawn.

Yn freninoedd ac offeiriaid,
Fe osodir y ffyddloniaid,
Hwy a welir yn benaethiaid,
Uchel iawn ei bri;
Yna'n lle gofidiau,
Cawn o hyd bleserau,—

Satan 'nawr a fydd ar lawr,
A ninnau ar orseddau;
Cawn roi allan 'nawr yn hollol,
Holl ewyllys ein Tad nefol,
A theyrnasu yn dragwyddol,
Pwy fydd mwy na ni.

*Abertawy, Ebrill* 10, 1856.

---

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG,

A GYNNALIWYD yn Merthyr, Ebrill 20, 1856. Wedi i'r Henuriad Abednego Williams, Llywydd y Gynnadledd, alw y cyfarfod boreuol i drefn, rhoddodd hyfforddiadau cymhwysiadol iawn i'r gynnulleidfa. Yna galwodd ar yr Henuriaid canlynol i gynnrychioli y dosparthiadau dan eu gofal:—John Llywellyn, Merthyr; Wm. Jones, Aberdar; David Pugh, Caerdyf; a T. Rees, Pontytypridd. Tystiai y brodyr hyn fod y dosparthiadau ar gynnydd mewn rhinweddau: fod undeb, cariad ac ufydddod yn ffynu braidd yn mhob Cangen, a bod y byd yn ymchwilio mwy i egwyddorion y Saint nag a welwyd er ys blynyddau, yn neilduol yn Nghaerdydd a'r cylchoedd.

Yna rhoddodd y Llywydd Israel Evans hanes cysurlawn am yr Ymfudwyr diweddaf, oddiyma hyd Liverpool, a dywedodd fod yn ofidus ganddo am y siomedigaeth oedd y dorf wedi gael, am nad oedd ein parchus Lywydd Daniels wedi dychwelyd o Liverpool, "Ond" meddai ef, "cawn weddiau y Brawd Daniels drosom, ac felly bydd yr Arglwydd gyda ni." Hysbysodd ei lawenydd fod cymmaint wedi ymfudo, a phe byddai ychwaneg wedi myned yr elai y gwaith yn mlaen yn fwy cyflym fyth.

Cyfammodwyd i ddal i fyny holl awdurdodau yr eglwys fel arferol, heb un yn tynu yn groes. Cymmeradwywyd D. Pugh i fod yn Ail Gynghorydd i'r Llywydd A. Williams, a bod y Brawd John Price, Rymni, i gynnorthwyo y Brawd Stephens i ysgrifenu hanes y Gymmanfa. Penderfynwyd fod y Llywydd A. Williams i fod yn Drysorwr i drysorfeydd y D. Y. Barhaus a'r Deml. ac fod yr Henuriaid John Reynolds, Heolyfelin, a T. Evans, Merthyr, i fod yn olygwyr *(auditors)* dros wahanol gyfrifon y gynnadledd. Darllenwyd y gwahanol gyfrifon er boddhâd cyffredinol.

Yn y prydnawn galwyd ar y Llywydd Israel Evans, yr hwn a sylwodd mewn modd effeithiol ar y ddyledswydd sydd arnom i bregethu i'r byd, ac hyny mewn doethineb. Sylwodd mewn cyssylltiad a'r pethau arianol, i bawb gofio dechreu eu gorchwyl mewn amser, fel y gwnelont bob peth yn brydlon, ac am aberthu pob teimlad ag sydd yn groes i ewyllys Duw, &c.

Yna galwyd ar yr Henuriad Thomas Harris, Llywydd Cynnadledd Orllewinol Morganwg i annerch y dorf, yr hwn a sylwodd fod sŵn mawr yn y byd yn awr, am fod heddwch wedi ei arwyddo rhwng Twrci a Rwsia; ond yr oedd am i filwyr Iesu gofio nad yw Crist a Belial ddim wedi heddychu, ac na wnant ychwaith nes y byddo y diafol wedi cael ei rwymo, ac holl deyrnasoedd y byd i fod o dan lywodraeth y Brenin Iesu, &c.

Yn yr hwyr sylwodd y Llywydd A. Williams fod gwaith Duw wedi dechreu ar y ddaear, ac ei fod yn sicr o fyned rhag ei flaen. Dangosodd yr anghenrheidrwydd sydd ar y Saint i ddyfod yn nes, a theimlo mwy o gyssylltiad rhyngddynt â'u gilydd, fel y gallont fod o ddefnydd i ddwyn y gwaith hwn oddiamgylch, &c.

Yna galwyd ar y Llywydd Benjamin Ashby i annerch y gynnulleidfa, yr hwn a wnaeth mewn modd bywiog iawn. Fe ddangosodd fod teyrnas Dduw yr un modd yn awr ag yr oedd yn y dyddiau gynt,—mae trwy yr Offeiriadaeth y derbynia dyn fywyd tragywyddol. Pe deuai angel at ddyn i'r ddaear yn y dyddiau hyn, fe ddywedai wrtho fel wrth Cornelius gynt, am anfon neu fyned at un o weision Duw, &c.

Terfynwyd y Gymmanfa, a phob argoelion fod bendith Duw ar a wnaed ac a ddywedwyd. JOHN PRICE, *Ysgrifenydd.*

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MAWRTH 31 HYD EBRILL 24. Wm. Lewis, £3 6s 6c; Llywelyn Lewis, £1 5s; Thos. Rees, 5s; Thomas Jones, 11s 6c.

☞ Dymunir ar y rhai na thalasant eu "Haddewidion" yn Nghynnadledd Orllewinol Morganwg i wneyd hyny ar frys.—Y mae y brawd James Tuckfield, Abertawy, wedi talu ei 10s.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS.

# UDGORN SEION.

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 10.] MAI 10, 1856. [CYF. IX.


## ANNERCHIAD Y LLYWYDD BRIGHAM YOUNG I SENEDD DIRIOGAETHOL UTAH,

*Yn ymgynnulliedig yn Ninas Fillmore, Swydd Millard, Rhagfyr* 11, 1855.

[Parhad o dud. 113.]

MAE llinell gyffiniol Ogleddol Utah wedi cael ei sefydlu hefyd, yn ystod y tymmor presennol, gan y Proffeswyr Orson Pratt ac Albert Carrington, a'r Prif Dir-fesurydd Tiriogaethol, Jesse W. Fox, yn y lle y croesa y Malade, a chan y Proff. Pratt a'r Prif Dir-fesurydd Fox lle y croesa y Green River a ffordd yr ymfudiad i'r dwyrain o'r un afon. Nid oedd un cwmni gyda hwynt o Oregon yn ymwneyd ag un o'r achosion hyn, gan mai yr anghen penaf o'r ddealltwriaeth oedd er cael allan pa mor belled y cyrhaeddai llywodraeth y Diriogaeth i fanau lle nad oedd gan Oregon sefydliadau o fewn cannoedd o filltiroedd.

[Yna rhodda gyfrif o'r ardreth a'r modd ei defnyddiwyd at welliadau cyhoeddus, yr hyn oedd yn gymhelliad i'r cyhoedd i beidio bod yn ol yn ei thalu, gan mai drostynt eu hunain ei gwnaent.]

Cynnygir agor ffyrdd newydd er cyfrinachu â ni o'r dwyrain ar hyd aberoedd y Missouri, ac o'r deau ar hyd y Colorado. Mae'n ddiau y geill badau a adeiladir i'r pwrpas ddyfod gannoedd o filldiroedd yn nes i'n sefydliadau nac yn bresennol. Os bydd yn eich gallu trwy gyduno â chwmnïoedd neu roddi unrhyw gynnorthwy arall i gyflawni y fath anturiaeth, cyf-

arfyddwch â'm cydweithrediad parotaf. Ystyriaf ei fod yn bwnc sydd yn wir deilwng o'ch sylw.

Mae ysgolion er dysgu plant wedi lledu hyd yn hyn heb nemawr gefnogaeth na chynnorthwy gan y Senedd. Oni ddylai y Senedd gymmeryd y peth yma i'w sylw, gan ddewis rhyw drefn dda, yr hon a gyflwyna yn y man lleiaf ddysgeidiaeth gyffredin i bob plentyn, cyfoethog neu dlawd, caeth neu rydd, yn y Diriogaeth, ac a sefydlai a chadw ar waith yn y man lleiaf un ysgol lle y dysgir y cangenau uwch?

Mae yn hysbys i mi fod llawer wedi cael ei gyflawni eisoes, a daioni mawr wedi cael ei wneuthur trwy anturiaeth bersonol trwy y sefydliadau yn gyffredinol. Er fy mod yn lled sicr nad all unrhyw Diriogaeth sydd mor ieuanc â hon fostio am gynnifer neu gystal tai ysgolion neu ysgolion, etto y mae diffyg, y mae llawer ar ol etto i'w wneuthur. Nid yw y Senedd wedi gwneyd mwy nâ'r peth nesaf i ddim at yr achos yma, ac mae y tir a roddodd y llywodraeth gyffredinol yn hollol ddiwerth at hyn.

Nid oes neb â mwy o ddyddordeb yn nysgeidiaeth ein plant nâ nym ein hunain, am hyny y mae braidd yn orfodol ar ein Senedd yma i estyn ei chynnorthwy er cefnogi dysgeidiaeth. Ac yn awr, tra y mae heddwch a llonyddwch yn ein holl derfynau, yw yr amser manteisiol i ni osod sylfaen er dysgeidiaeth ein plant, a dŷf gyda ein tyfiant, ac a gryfhâ gyda ein cryfder, ac a ledaena ei dylanwad dros blant y dinasydd tlotaf ac iselaf, yn ogystal a'r uchel a'r cyfoethog.

Mae heddwch, tawelwch, llonyddwch, a mesur dyledus o lwyddiant wedi coroni ein hymdrechiadau cyn belled.

Mae yr Indiaid, er fod ambell i gynhwrf, yn gyffredinol yn heddychol a chyfeillgar.

Ar y 23ain o fis Medi diweddaf fe laddwyd tri o'n pobl ni gan yr Yampah Utahs gerllaw mynydd yr Elk, yn y sefydliad ar làn chwith y Grand River. Fe ddangosodd plaid o'r Shoshonees elyniaeth hefyd yn Forts Bridger a Supply, yn Swy Green River.

Pan ddeallais y ffeithiau hyn, cyhoeddais alwad ar y Nauvoo Legion, *militia* y Diriogaeth, i ddal eu hunain yn barod, ac i ddanfon allan gymmaint o nerth a ystyrid yn angenrheidiol i

gadw heddwch, ac i amddiffyn y sefydliadau, a'r ymfudwyr ar y ffyrdd.

Aeth nifer, o dan lywyddiaeth Major R. T. Burton, i'r amddiffynfeydd a enwyd, ac arosasant yn y gymmydogaeth hyd oni aeth yr holl gwmnioedd ymfudol heibio, ac yr ymadawodd yr Indiaid gan fyned i'w hymgyrch hela arferol ar ol y buffalo. Galwn ar y filwriaeth yn fwy i wneuthur heddwch â'r llwythau brodorol nag i ymladd â hwynt, gan ei fod yn hysbys pan fyddo nerth rhesymol o filwyr yn y cylchoedd, nad anaml yr achosa eu presennoldeb i'r Indiaid adael eu difrodaeth a cheisio am heddwch.

[A yn mlaen i ddangos gymmaint gwell yw porthi yr Indiaid, eu hennill trwy degwch, a'u dyrchafu i gylch gwareiddiwch, nag i ymddarostwng i'w gwael gyflwr hwy,—i ryfela a thywallt gwaed, fod canlyniadau daionus wedi profi y ffaith. Sylwa hefyd ar gynnydd yr amddiffynfeydd a adeiladwyd trwy lawer o gynnorthwy gan gyfraith a basiwyd yn eisteddiad diweddaf y Senedd Diriogaethol. Cyfeiria hefyd at ymdrech canmoladwy y bobl gyda gwneuthuriad nwyfau cartrefol, a'u cynnydd yn hyny, ac at gynnydd y gwaith haiarn. Tra y mae cenedloedd y ddaear yn rhyfela a thynu i lawr, dywed fod Seion yn heddychlon a diwyd, ac y bydd hi yn blodeuo mwy nag erioed tra y syrthia Babel.

---

## DANGOSEG GOFFADWRIAETHOL,

*A anrhegwyd i'r Henuriad Dan Jones, Llywydd dros y Genadiaeth Gymreig o Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf.*

### GAN LYWYDDION Y CYNNADLEDDAU.

Anwyl Frawd,—Gan eich bod oddeutu ein gadael ar eich dychweliad unwaith etto i fynwes yr Eglwys, ac at eich teulu anwylaidd yn Seion, mae cyfiawnder â'n teimladau ein hunain, ac a'r rhai a lywyddwn, yn ein gorfodi i roddi i chwi y ddangoseg hon, er mor ddiffygiol y mae, i arddangos y parchedigrwydd diledrith a feddwn tuag atoch,—ein mawr werthfawrogrwydd o'r bendithion aml ac anmhrisiadwy a dderbyniasom trwy eich gweinidogaeth, a'r ymddiried diderfyn sydd genym ynoch fel gwas i'r Goruchaf Dduw.

Bydd i ddaioni Duw i ni trwy eich galw chwi pan mewn gwledydd pellenig gan ddatguddiad trwy ein parchedig Brophwyd Joseph Smith, a thrwy eich danfon yn ol atom a goleuni yr Efengyl dragywyddol i gysuro ein calonau, pan yn ymdrabaeddu mewn tywyllwch moesol, enyn ynom y fflam o gariad a diolchgarwch sydd yn ddyledus iddo Ef, tra yr ymlosga wreichionyn cuddiedig o'i Lân Ysbryd yn ein mynwesau.

Tra y deil coffadwriaeth y ffaith i chwi gynnyg eich bywyd yn Ngharchar Carthage i achub y rhai mwyaf anwyl genym, ac mai yn nghanol y golygfeydd torcalonus a amgylchynasant gyrff drylliedig goreuon dynion yn Nauvoo, ni wnaethoch ysgoi o lwybr dyledswydd, ond, yn ddiysgog megys maen tynfa i'w phegwn, ar gost pob elw bydol, dilynasoch ar eich llwybr dros Gyfandir a môr, ac yn 1844 tiriasoch gyda'ch trysor gwerthfawr yn mhlith eich cyd-wladwyr,—yn ngwlad eich genedigaeth; eich hymdrech anghydmarol i sefydlu banerau Efengyl yr Hedd ar fryniau Gwalia; sefydlawgrwydd eich dyben cywirdeb eich enaid, a'ch goruchafiaeth i ennill yn agos *bedair mil* o Frytaniaid i ymrestri o dan ei banerau yn yr ystod byr o bum mlynedd, er gwaethaf holl egni gwrthwynebol y Wasg, y Pwlpud, a holl arfau cyssylltiedig y gwrthwynebydd, sydd yn ffeithiau a wnant eich coffadwriaeth fyth yn anwylaidd, a gynnyddant eich enwogrwydd, ac a gymhellant bawb carwyr y gwir i efelychu eich ymgeisiadau i ennill bywydau tragywyddol.

Mae y rhesymau goleu a nerthol a arddangosir yn yr harner myrddiwn yn agos o draethodau, &c., a anfonasoch trwy y Dywysogaeth fel cenadon y goleuni, wedi ennill ymddiried ac ufydd-dod i'w gorchymynion gan filoedd o blith pob dosparth, ac wedi cerfio enw eu hawdwr ar lechau eu calonau fel na ddileir hwynt cyhyd ag y parhâ y ffynnonell ddihysbydd o oleuni o'r hon y tarddasant i dywynu ei phelydrau ar eu dealltwriaeth.

Cawsoch y fraint yn 1849 o ddychwelyd gyda degwm yr eneidiau a gynheuafasoch,—â blaenffrwyth y Brytaniaid i nawddle y gormesedig,—i'r llawr dyrnu yn Seion, wedi eich bendithio â ffydd ac ymddiried pob plentyn i Dduw a adaw'soch yn maes eich llafur, ac yr oedd y pymtheg cant eneidiau a ychwanegwyd at yr Eglwys mewn ychydig fisoedd ar ol eich

mynediad yn arddangosiadol o'r sefyllfa iachus a grymus yn mha un y gadaw'soch hi. Dros y weilgi ac yn groes i Gyfandir dilwybr yr arweiniasoch anturwyr ein hâch yn fuddugoliaethus dros bob rhwystrau arferol i daith o 8,000 o filltiroedd i ddyffrynoedd y mynyddoedd tragywyddol, yno i gael eu glöewi gan Brif Gelfyddydwyr Seion, ac amlygwyd eich cariad a'ch ufydddod i gynghor yn mhellach gan daith o fil o filltiroedd ar eich cost eich hunan trwy ganol anwariaid, eira, ynghyd a pheryglon tywydd garw. O'r braidd y cawsoch dair blynedd i fwynhau cyfeillach gymdeithasol, ac hoffach gyfeillach y rhai a garwch yn anwylach fyth, cyn i'r Arglwydd, mewn atebiad i weddiau pobl nerthol dueddu ei weision idd eich hanfon un waith drachefn i'w mynwesau. Ni fu cartref a'i mil melusder, Seion a'i holl swynau, na chyfoeth a'i holl gynnygiadau yn un rhwystr ar eich ffordd; etto, dringasoch y Mynyddoedd Creiglyd, y brysiasoch dros y Cyfandir a'r Môr Werydd, ac idd ein canol, ac nid oedd y diolchgarwch cyffredinol a roddwyd i'r Hwn a'ch danfonodd ond gwael amlygiad o'r llawenydd annhraethol a deimlasom ar eich dychweliad yn 1852.

Eich sêl ddiflino i wasanaethu Duw yn mhob ffordd ag oedd yn ddichonadwy sydd yn wir ganmoladwy; eich uniondeb mewn gweinyddu cyfiawnder a thrugaredd hyd nes bod yn arswyd i wneuthurwyr drygioni, a'r llwyddiant mawr sydd wedi coroni eich gweinyddiadau yn ystod y tair blynedd ag yr ydych wedi bod yn ein plith ar eich ail genadiaeth ydynt arddangosiadau amlwg o ddwyfol gymmeradwyaeth. I'r hwn sydd wedi dangos y fath ddyngarwch, ffyddlondeb, a gwladgarwch, mae yn rhaid fod iddo deimlad braidd tuhwnt i hyfrydwch wrth adael yr Eglwys trwyddi draw mewn sefyllfa iachus, bur, a llwyddiannus yn mhob dull, heb yr un ymraniad ymddi; am fod tua dwy fil wedi eu hychwanegu atti; fod mil wedi ymfudo yn y cyfamser, a bod pum cant a hanner yn ychwaneg yn dysgwyl y pleser o gydymdeithio â chwi tua Seion.

Anwyl frawd, ni allwn ddesgrifio y cariad a deimlwn tuag atoch am y cynghorion gwerthfawr a gawsom trwyddoch,—trwy "UDGORN SEION;" trwy ei ragflaenydd anturiol, "PROPHWYD Y JUBILI;" *viva voce* mewn Cymmanfaoedd, Cynghorau, &c.,—eglurir hwynt oll yn amlycach gan rymusder eich cariad yn ein denu ni a'r Saint i efelychu eich rhinweddau,—eich gon-

estrwydd, sobrwydd a santeiddrwydd; fe gaiff ein *bywyd dyfodol* dystiolaethu yn effeithiolach am ganlyniadau eich Cenadiaethau o drugaredd atom, am ba rai y gweddiwn ar iddynt fyth fod yn gyfryw a gynnyddant eich llawenydd, hyd oni chaffoch yn adgyfodiad y cyfiawnion y wobrwy ddyledus am y daioni anmhrisiadwy a wnaethoch i'ch cenedl.

Gyda gostyngeiddrwydd calon deisyfwn eich derbyniad o'r Ddangoseg hon o'r hyn a fetha ein hiaith ddesgrifio, a'r hyn ag y mae pob hunan-ymwadiad o'ch eiddo wedi profi cyfoeth yn rhy analluog i'w gyflwyno; yn eich Cronielau teuluaidd ei cronicler er dweyd fod y B.awd Jones wedi gwasanaethu ei genedl, ei Dduw, a'i Frodyr yn dda; a chymhelled eich hiliogaeth i efelychu eu Tad, a phob Cymro a gâr ei ach i ddweyd —"Da was, da a ffyddlon;" oes y byd i'w gofiant ef.

Ffarwel! gan Angylion eich hebrynger, gan elfenau eich gwasanaether, gan bawb a phob peth eich ufyddhaer ar eich dychweliad, a chan barchedig weision Duw eich croesawer; a chaffed y diweddaf o hâd Gomer, gyda chwi a'ch parchus deulu y fuddugoliaeth ar bob gelynion, ac hyd y nod ar farwolaeth, i etifeddu bywydau tragywyddol fydd ein gweddi barhaus.

[ ma canlyna enwau y Llywyddion.]

---

## CRYNODEB O DDYSGEIDIAETH Y LLYWYDD F. D. RICHARDS,

*Mewn Cymmanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn Merthyr-Tydfil, ar y 24ain o Chwefror, 1856.*

AR ol gwneuthur rhai sylwadau rhagarweiniol, i gael gan y dorf osod eu hunain mor gysurus a allent, deall fod y mwyaf o honynt yn deall Saesneg, ac addaw y llefarai yn eglur a rhwydd i'w ddeall, dywedodd—

Y mae genym wir achos llawenhau am y boreu hyfryd hwn sydd wedi gwawrio ar ein Cymmanfa,—mae yr elfenau fel pe yn gwenu mewn tawelwch arnom, ac os yw ein teimladau ninnau yn gasgledig ac heddychol yn gyferbyniol, cawn amser hyfryd a llesiol yn wir. Y ffordd i'n teimladau fod felly yw trwy fod yr un ysbryd dwyfol yn cael eu llywodraethu ag sydd

yn rheoli a threfnu yr elfenau anferthol trwy orchymyn yr Hollalluog, i'r Hwn y gweddiwn am dano.

Y mae genyf gynnifer o bethau i'w dywedyd wrth y Saint Cymreig fel nas gwn ar ba un y dechreuaf, na pha un fydd y mwyaf llesiol i chwi yn bresennol, eithr dymunaf gynnorthwy eich gweddiau ar i'r Arglwydd fy ysbrydoli a'i Lân Ysbryd i hyny.

Ymddangoswch yn fy ngolwg i fel pe y dymunech ac yr hiraethech am fyned i wlad yr Americ. Er nad wyf yn adnabyddus â chwi yn bersonol, nac â'ch pethau personol, etto gwn eich hanghenion cyffredinol, heb gyfeillachu â phob un o honoch ar wahan, fel y gŵyr tad anghenion ei deulu heb orfod cael ei holl blant ato i'w holi ar wahan. Modd bynag, yr wyf yn sicr o un peth, ac hyny yw, —fod pawb a feddant ysbryd yr Efengyl yn teimlo eu bod yn ddyeithriaid yma, a'u bod yn awyddus am gasglu i dir yr Americ, - i'r lle ag y mae Duw wedi ei gymhwyso ercael gwaredigaeth.

Mewn cyssylltiad â'r ymgasgliad yma y mae pethau ag sydd yn hanfodol i chwi i'w deall er gallu parotoi i'r daith. Y mae yn arferiad gan bawb a fwriadant fyned ar daith i ddarparu ar ei chyfer, neu i ddanfon cenadon o'u blaen i rybuddio am eu dyfodiad. Anfonwyd Ioan Fedyddiwr i ddarparu y ffordd o flaen ein Hiachawdwr. Yn awr y mae darpariadau gyferbyn â'r daith i Seion yn anhebgorol ac o bwys i chwi eu gwybod, yn nghylch pa rai y dymunaf lefaru, yn neillduol am fod Llywyddion Cynnadleddau, Henuriaid Teithiol, &c. yma, ac am y dymunaf i'r egwyddorion a'r meddylddrychau a lefaraf gael eu cylchredu.

Y peth cyntaf yr adgoffhâf chwi am dano yw,—Y pwysigrwydd sydd yn gyssylltiedig â mân bethau. Er fod Efengyl yr iachawdwriaeth yn ddirfawr ac helaeth, etto o fân bethau y mae hi yn gynnwysedig. Mae y gynnulleidfa yma yn un tawr mewn cyferbyniad i un dyn, eithr o bersonau *unigol* y mae yn gynnwysedig; ac ar yr un egwyddor y geill y corff mawr yma gael ei ddadgorffori ag ei corffolwyd, ond i chwi gymmeryd y mân bethau neu y personau yn mhob un allan. Yr un fath y mae gyda gwaith mawr yr Arglwydd, ac egwyddorion yr Efengyl dragywyddol. Yn ol y defnydd a wneloch â'r mân bethau, casglwch neu y gwasgarwch,—y byddwch fyw neu y bydd-

wch feirw. "Na ddiystyrwch ddydd y pethau bychain." Fe ddywed yr Arglwydd trwy un o'i brophwydi cyntefig, "Fy mhobl a ddyfethir o eisieu gwybodaeth." Nid oes achos i neb o honoch ryfeddu pa fodd y mae hyny yn bod, ond i chwi adfeddwl mai y wybodaeth a feddwch yw yr achosydd o'ch presennoldeb yma heddyw, ac mai o herwydd eich gwybodaeth y dymunwch fyned i dir yr Americ, fel na ddyfethir chwi yn Mhabilon. Pa fodd y buasech yn meddu y dymuniad i fyned pe buasech heb ei ddysgu yn gyntaf? Pa fodd y buasech wedi ei ddeall pe na fuasai y Brawd Jones, neu ryw un arall o'i fath, wedi dyfod drosodd a'i ddysgu i chwi? Beth fuasai y canlyniad iddo beidio dyfod atoch a'ch dysgu? Buasech yn aros yma i drengu o eisieu gwybodaeth. Beth yw y canlyniadau o'r wybodaeth a ddysgwyd? Atebed y ffaith o bresennoldeb y dorf yma heddyw,—gweler ei heffeithiau a'i gweithrediadau ag sydd wedi dwyn eich bryd a'ch meddwl —wedi cymmeryd y lywyddiaeth ar eich holl weithrediadau,—eich materion crefyddol, teuluaidd, masnachol, a'r oll o honynt.

Yr ydych wedi cael eich bendithio â bodoliaeth ar y rhan fach yma o'r greadigaeth, ac wedi cael pregethiad o'r efengyl sydd er tystiolaeth neu wybodaeth yn eich plith, ac mor belled ag ydych wedi ufyddhau i rai o'i gofyniadau yr ydych wedi mwynhau gwir wybodaeth. Ar yr un pryd yr ydych yn amgylchynedig gan berthynasau a chyfeillion, gyda pha rai yr ydych wedi ymarferyd â thraddodiadau ac arferiadau eich gwlad,—yr ydych yn rhwymedig wrthynt hwy trwy y cwlwm perthynasol a chymdeithasol, ac wrth eich hiaith a'ch gwlad Fe agorodd y Brawd Giles y cyfarfod trwy weddi yn Gymraeg Yr ydych chwi ac yntau yn deall Saesneg, er hyny pe gofynid pa ham y gwnaethpwyd felly, dywedid, mai o herwydd eich bod yn caru iaith eich tadau a'ch gwlad yn fwy nag un iaith arall. Teimlad cydrywiol iawn â natur pob ieithwr a gwladwr tuag at ei iaith yw hwn: felly y mae ynwyf fi tuag at y Saesneg. Gwelwch fod pethau fel hyn yn bersonol, ac yn cymhwyso i bawb er yn groes i'w gilydd. Eithr pan yr ufyddhaom i'r Efengyl, yr ydym i gael ein llywodraethu yn hollol ganddi, ac nid gan arferiadau y naill genedl yn fwy na'r llall. Fe ddywed yr Apostol Paul wrth bob ieithwr a chenedl a ddaethant i'r Eglwys gyntefig, nad oedd mwyach i fod nag Iuddew na Groegwr,

caeth na rhydd, &c., canys yr oeddynt oll yn un yn Nghrist Iesu. Ar ol y deloch i Eglwys y dyddiau diweddaf dymunwch gasglu i Seion lle na fydd nac Iuddewon na Chenedloedd, Saeson na Cymry, ond bydd yr oll yn "wŷr Seion,"—pobl yr Arglwydd, y rhai yr ymhyfryda i'w bendithio. Eithr cyn yr eloch yno, dylech fod wedi darparu er myned i mewn i'w bendithion a'i breintiau ar unwaith. Bydd y mwyafrif o'r rhai y cymdeithaswch â hwynt yno yn siarad Saesneg. Yn awr, meddyliwch eich bod yn cyfarfod ag un o honynt, a chyda chalon yn llawn o gariad brawdol ymaflwch yn ei law i'w hysgwyd, eithr ni ellwch ei gyfarch, na deall pa un ai â geiriau mwynaidd neu drawsion y cyfarcha yntau chwithau, ond mor belled ag y barnwch wrth ei olwg, ac nad allai yntau ddeall gwell oddiwrthych chwithau? Oni fyddai yn dda genych allu dywedyd yn Saesneg,—"Frawd Brigham, yr wyf yn llawen am i mi gael y cyfleusdra cyntaf yma i'ch gweled". Oni fyddech yn ddedwydd pe eich bendithiai, gan ddymuno ar i'r Duw hwnw a'ch cadwodd, a'ch cynaliodd, ac a'ch amddiffynodd hyd yno, i'ch bendithio a'ch llwyddo, a phan y syllai arnoch y rhedai Ysbryd yr Arglwydd trwy eich holl gyfansoddiad? Eithr meddyliwch o'r ochr arall na fyddech yn medru Saesneg, ac y collech y cyfryw fraint drwy hyny.

*(I w barhau.)*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MAI 10, 1856.

Yr ymfudiad presenol a darpariadau i'r ymfudiad dyfodol.—Mae'n ddiamheuol fod y Saint yn Nghymru wedi cael eu hysbysu o'r hyn sydd yn Hysbysiad y Llywydd F D. Richards, am Ebrill 26, os ydyw y Llywyddion wedi iawn gy

dyledswydd yn hyn. Er bod yn fwy sicr dywedwn etto fod y llong "Horizon" i hwylio o Liverpool am Boston ar y 23ain o'r mis hwn. Yn hon bydd y cwmni diweddaf a â drwyodd i Utah eleni, ac os oes rhywrai am fyned, neu heb gael eu rhybuddio wedi iddynt ofyn, bydded iddynt anfon gwybodaeth o hyny i ni cyn y 15fed. Bydd i'r gweddill o'r ymfudwyr i'r Taleithiau gael eu hanfon allan yn mhen tuag wythnos ar ol hyny.

Peth arall sydd 'ddiammheus genym, hyny yw, y gofyniad gan rai sydd ar ol,—Pa fodd y gallwn ninnau fyned y tro nesaf, a pha ddarpariadau a wnawn ar gyfer hyny? Dywedwn wrth y cyfryw am ail ddarllen yr atebiad i'r un gofyniad yn rhif 21 o'r gyfrol flaenorol. Anwyl Frodyr, y Llywyddion, darllenwch y cyfarwyddiadau hyny etto, a gweddiwch am nerth a chyflawnder eu hysbryd—nid ydynt wedi hanner eu cyflawni etto! Yr ydym wedi clywed a gwybod fod bedyddio wedi ail ddechreu yn fywiog mewn amryw fanau, yr hyn sydd yn brawf o effaith y "bregeth olaf" a gawyd o'r blaen. Yn awr yw yr amser i ddarparu erbyn yr ymfudiad nesaf. O Sir i Sir, o gymmydogaeth i gymmydogaeth, ac o ddrws i ddrws y gweler y Saint a thystiolaeth Duw yn eu geneuau, sobrwydd yn eu gwynebau, a thraethodau yn eu dwylaw yn rhybuddio eu cymmydogion hyd oni ddysgwyliant i'r dydd drwg ddyfod, Gweithiwn tra mae hi yn ddydd, fel y mae gweision Duw yn Seion. Galwant hwy yn daer ar i'r Saint ffoi rhywfaint o'r ffordd tua Seion yn hytrach nag aros yn Mhabilon. Mynediad yn agos saith cant o'r Saint Cymreig yn unig y flwyddyn hon mewn ufydd-dod i'r alwad, a thros gant o'r rhai hyny yn dlodion holloll amddifaid sy'n brawf fod yr ystorom yn agoshau. O! meddwch, Pwy oedd y rhai a gafodd y fraint, a pha fodd y cawsont fyned? Atebwn i rai fyned o'r deheu trwy Sir Aberteifi a Sir Fôn, a gwahanol siroedd Cymru, gan wneuthur y darpariadau angenrheidiol y cyfeiriwn atynt. Bu ereill â'u holl egni yn ngafael â chlirio dyledion eu cangenau a'u cynnadleddau. Bu ereill, er yn weddwon amddifaid 'yn ymladd y byd am flynyddau, gan gadw tô uwchben gweision Duw i'w cadw rhag gerwineb y tywydd a'r byd annhrugarog, a rhywbeth iddynt fwyta rhag bod mewn eisieu, a bu ereill mor ddiwyd dros yr Offeiriadaeth hyd oni allasent ddywedyd, "Yr oll braidd a allasem, nyni a'i gwnaethom."

Y gair diweddaf a glywsom gan y Llywydd Richards yn Liverpool pan yn hebrwng y llongaid ddiweddaf oedd, "Nid yw yr ymfudiad eleni yn nemawr mewn cyferbyniad i'r hyn y bydd. Mae ganddo gynnyddu yn flynyddol hyd ei gyhydedd, ac ni dderfydd hyd oni chesglir Israel allan o'r gwledydd hyn. Cynnyddu y mae wedi wneuthur o'r dechreuad, a chynnyddu wna. Yn gymmaint ag y bydd y gweddill o'r Saint Cymreig yn ffyddlon y flwyddyn hon cânt weled llawer yn ychwaneg na hyn o'u tlodion yn cael myned y tro nesaf."

Mae yr hâf wrth y drws, a minnau yn barod er ys amser bellach, i dderbyn enwau gwirfoddoliaid i lanw lle y rhai a aethant tua Seion yn llawen, wedi ennill enwogrwydd bythol yn mydd-in Iesu. Pwy a â? Ceir llefydd i weithio neu deithio fel y byddo'r anghen.

Gweler wrth *list* y dyledion fod £326 10s o ddyled lyfrau yn ngweddill, er fod ymdrech ganmoladwy wedi ei gwneuthur yn niwedd y flwyddyn o'r blaen. Yn ngwyneb hyn llawenhawn yn y dysgwyliad o fod hen gweri gweddilliol Cymry gyda'r newyddion da sydd yn awr yn ymddeffroi, a dyblu eu diwydrwydd hyd nes y byddo'r tipyn yma yn mhlith pethau ereill yn myned o'r golwg gyda buandra. Rhwyddheir y gorchwyl hwn gan leihad o bum cant yn y nifer a ddosparthir o UDGORN, yr hyn a'i gwna yn anmhosibl i ni i'w gynnal yn mlâen am geiniog y rhifyn heb daliadau cyflawn a chysson, fel y nodasom o'r blaen. Traws-symuder y fath a'r â "dyledion am lyfrau" i ebergofiant o hyn allan.

Gyda'r pethau ereill sydd ar droed, gweler fod digon i'w wneuthur am yspaid etto, y rhai a ofynant ddiwydrwydd, haelioni, a phenderfyniad disigl y Saint, ac a roddant brawf i ni o deilyngdod y Llywyddion presennol

Goreu po cyntaf y dechreua pawb ar y ffordd iawn ac agosaf tua Seion.

---

GWLEDD.—Rhoddodd y Brif Lywyddiaeth yn Seion wledd i'r Cenadon dychweledig, gyda'u gwragedd, yn y Social Hall, D. Ll. H. Mawr, Tachwedd 29, 1855. Yr oedd y Llywydd J. M. Grant, a phump o'r Apostolion yn bresennol. Arlwywyd y bwrdd â danteithion goreu Seion. Cawsant brydnawn a noswaith lawen a dedwydd o ddawnsio, areithio, a chanu, hyd

doriad y wawr. Ni welwyd merched Seion, a ymfoddlonent am rai blynyddau cyn hyny i fod heb eu hanwyl wŷr, tra yn pregethu efengyl yr iachawdwriaeth, a phenderfynu tynghed cenedloedd y ddaear,—ni welwyd hwynt yn ymddangos yn decach nac yn fwy llawen a bywiog erioed. Nid oedd blinder yn cyffwrdd â neb. Dychymmyged y darllenydd beth oeddynt deimladau ein brodyr profiadol, ar ol bod yn ffyddlon mewn cyfyngderau a chaledion ar fôr a thir, a dychwelyd yn ol yn bur a difrycheulyd oddiwrth ddrygioni Babel yn cael groesaw i Seion gan Brophwydi ac Apostolion, ac o glywed yr hoff air,— "Da weision, da a ffyddlon, &c."

---

Dangoseg Goffadwriaethol.—Ar dderbyniad blaen-dâl o un swllt anfonwn i'r danfonydd gopi ardderchog yn Saesneg o'r "Ddangoseg Goffadwriaethol," yr hon a anrhegwyd i'n teilwng a'n diweddar Lywydd Dan Jones, wedi ei gwneuthur ar sidan glâs, mewn llythyrenau aur. Gofalwn am Lywyddion y Cynnadleddau yn gyntaf. Mae yn ddiddadl y siomir llawer ereill gan na feddwn ond tua 80 o honynt. Nac anfoner am danynt heb dalu yn flaenllaw, gan nad ydynt mewn cyssylltiad â llyfrau y Swyddfa. Anfoner am danynt trwy Ddosparthwyr y Cynnadleddau.

---

## LLYTHYR DIHUDDIANT AT Y LLYWYDD DANIEL DANIELS.

*Abertawy, Mai* 3, 1856.

Mygedawg Lywydd Daniels,—Fel y mae yn ymwybodus i chwi yr ymddyddan cariadus a chymmodawl fu rhyngof fi â'r Llywydd Dan Jones ychydig cyn ei ymfudiad, lle yr oeddech chwi, y Llywydd Thomas Harris, ac ereill, yn wyddfodawl, am y cyfryw gyfleustra yr wyf yn mawr lawenhau.

Dymunaf eich adgofio drachefn trwy y llythyr hwn, fy mod yn teimlo yn ddaionus o wraidd calon at y Llywydd Dan Jones. A goddefwch i mi ddywedyd, nad oes lonyddwch nac esmwythtra i fy ysbryd yn nos na dydd tu allan i Eglwys Iesu Grist; o herwydd fy mod yn *gwybod* mae yn yr Eglwys hon yn unig y gallaf weithio allan fy iachawdwriaeth.

Gydag edifeirwch diffuant y cydnabyddaf fy ffaeleddau

lawer, a'm troseddiadau erchyllion, o ddywedyd na gwneuthur yr un dim lleiaf yn erbyn y Llywydd Jones, ac fel y cyfryw yn eich erbyn chwithau hefyd, fel awdurdodau yr Eglwys yn Nghymru. Am yr hyn, fel y gwyddoch chwi, yr eiddunais hynawsaidd a maddeuant, yr hon ffafr a fwynheais.

Gyda rhwyddineb y gallaf ddywedyd fy mod allan o'r eglwys yn unol â chyfiawnder; a bod y Llywydd Dan Jones wedi ymddwyn tuag ataf yn ei holl ymdriniaethau â mi mewn modd mor uniawn ag y gallasai wneyd.

Mae genyf ysbryd rhydd a chalon lân at bawb o'r Saint yn Nghynnadledd Orllewinol Morganwg, a phawb ereill, a hyderaf y caf hwythau, o hyn allan, yn hynaws, carnaidd, a maddeugar, ac y caf ran helaethach nag erioed yn eu gweddiau aml drosof.

Fy nghalon sydd yn llawn o ddymuniad i lesoli pob dyn yn mhob man. Mae genyf hyder ar Dduw, adnabyddwr fy nghalon o'r dechreuad, y bydd iddo fy mendithio yn y fath fodd a'm cyfrif yn deilwng o gael pob peth, a phob amgylchiad i gydweithio er daioni i mi, yr hwn wyf yn ei garu; ac y dysgwyf yn berffaith i barchu a gwerthfawrogi holl gynghorion ac addysgiadau ei weision, yn nghyd ag ufyddhau yn drylwyr i'r Offeiriadaeth dragywyddol yn yr *oll* a ofyna genyf.

Gyda dymuniad didwyll i fod yn ffyddlon yn ngwinllan Crist, ac adeiladu i fyny ei deyrnas Ef, a dwyn oddiamgylch lawer o gyfiawnder, fel y byddo i mi a'm teulu, a'm tylwyth, i gael ein gwaredigaeth ar frys allan o Babilon i dir "Seion."

Y gorphwys,
Yr eiddoch yn ddiledryw,
Yn enw Iesu Grist,
DEWI ELFED JONES.

---

O.Y.—Cyn terfynu goddefwch i mi ganu tipyn bach o'm trallod ymaith, mal y canlyn:—

EMYN Y PROFIAD.

Adeiladu i fyny'r Eglwys,
Ydyw greddf fy nghalon i;
Mae fy ysbryd ynddi'n gorphwys,—
Hiraeth wnaeth fy ngruddiau'n lli':

Nos a dydd yr â 'm gweddiau,
At fy nhad sydd yn y Nef;
Mae yn gwrando fy ngridddfanau,—
Profi gaf o'i ddoniau Ef.

Amddifadrwydd o fendithion,—
Breiniau erfawr plant y dydd,
Sy'n llesgau a lleddfu'r galon,
Ac yn llethu'r ysbryd rhydd:
Dorau cau ar lwybrau bywyd!
Argae lem ar gyrch y gwawl!
Rhaiadr oer ar gariad tanllyd!
Galar lle y dyrchais fawl!

Mal y dòn dan guriad corwynt,
Ar wyllt ferw'r eigion llaith,
Oedd trychineb blin fy helynt,—
Ei ddarlunio palla 'm iaith.
Oh! fy Nuw, Tydi yn unig,
Adwaen deithi 'mynwes i;
Yn y tarth a'r niwl anelwig,
I mi'n gyfnerth buost Ti.

Ail i blentyn draw yn wylo,
Am ail drem ar dŷ ei dad,
Yn fy nhrallod yn ochneidio,
Heb un awr o esmwythâd;—
Mil a mwy o ryw adgofion,
Heidient yn y meddwl mau,
Anian *cartref* yn fy nghalon—
Anhawdd peidio llwfrhau.

Ni feddyliais gynt wrth gychwyn,
Y buasai hyn i'm rhan:—
Yn y dyfnder nid wy'n achwyn—
Cyfyd Duw fi etto i'r lan:
Hyn i mi sy brofiad newydd,
Er fy mhuro ar fy nhaith,
I ogoniant mwy ysplenydd,—
Sychir etto'm llygaid llaith.

Gobaith cryf yn ymangori,
Yn nghynnwysiad mynwes Duw,
Oedd i'm dal drwy bob caledi,
Profais hyn—mor rhyfedd yw;
Dyma berodd gân i'm genau,
Er holl rwysg fy mlinder maith,
Do,—yn nghanol gorthrymderau,
Gorfoleddais lawer gwaith.

Trwy holl drablith fy helyntion,
Tystiolaethais 'nol fy nerth,
Am *wirionedd egwyddorion*
*Pur efengyl*—mawr eu gwerth;
Fel y graig yn ansigledig.
Sefais ymchwydd twyll y byd,—
Trefn er adfer dyn colledig.
Ydoedd destun mawr fy mryd,

Gwreiddiodd hyn mor ddwfn i'm calon,—
Lledodd drwy fy enaid oll,—
Trechu fu, er pob trallodion,
Draddodiadau llwybrau'r coll;
Methodd trais a hudoliaethau,
Dynu hwn o'm hysbryd byw;
Methodd byd a'i demtasiwnau,
Ladd fy nghariad at fy Nuw.

DEWI ELFED JONES.

---

## AT Y LLYWYDD DANIELS.

*Abertawy, Mai* 8, 1856.

HYBARCH LYWYDD,—Gan fy mod yn gwybod, i raddau mwy nâ'r cyffredin, efallai, am achos Mr. Dewi Elfed Jones, ac hefyd fy mod wedi cyhoeddi i'w erbyn pan ei gwelais yn annheilwng, ystyriaf yn ddyledus arnaf iddo ef, ac i'r Saint yn gyffredinol, i mi gyhoeddi fy nheimladau yn ngwyneb ei ddychweliad i'r Eglwys. Ar ol siarad i foddlonrwydd yn gyfrinachol â Dewi Elfed Jones, ac hefyd ei weled yn cael ei bwyso yn ofalus yn nghlorianau Llywyddiaeth yr Eglwys yn Ewrop, a chan Lywyddiaeth yr Eglwys yn Nghymru, tystiaf gydag ysbryd rhydd a chalon faddeugar, i mi gael fy hollol foddloni yn ngostyngeiddrwydd ac edifeirwch Dewi Elfed Jones; a dywedaf wrtho fod fy mynwes i yn llydan-agored i'w dderbyn etto yn frawd mynwesol. Yr Arglwydd, yr hwn a'i cynnorthwyodd i fod mor wrol a dewr i ryfela o blaid egwyddorion gwirionedd ar ei ddyfodiad i'r eglwys gynt, a'i galluogo ef etto i fod yn ffyddlon a defnyddiol ynddi o hyn allan hyd byth.

Dyna ydyw gwir ddymuniad,

THOMAS HARRIS,
*Llywydd Cynnadledd Orllewinol Morganwg.*

---

## ATEBIAD Y LLYWYDD DANIELS.

Gyda phleser ac hyfrydwch mawr y gallaf amlygu yn gyhoeddus fy nghymmeradwyaeth wresog i lythyr Dewi Elfed Jones. Y teimladau daionus, yr ysbryd rhydd, y profiad gostyngedig, ynghyd a'r edifeirwch diffuant a amlygir ynddo a rydd foddlonrwydd nid bychan i mi. Mae yn orfoledd i'm calon bob amser i gael teilyngdod i faddeuant ac ymddiried, a gallaf ddywedyd ar sail dda fy mod wedi cael hyny yn gyflawn yn Dewi Elfed Jones.

Mae yr hyn a ddywedodd y Llywydd T. Harris am dano yn wirionedd: cydsyniodd Dewi yn ewyllysgar â phob peth a ofynwyd ganddo; daeth allan fel dyn yn hyn, a phrofodd i mi ac i bawb oedd yn bresennol mai ei ddyben penaf a'i brif gysur yw adeiladu teyrnas Dduw. Teilwng hefyd yw hysbysu fod yn dda genyf gael arddeall iddo barhau i goleddu ac amddiffyn gydag egni egwyddorion y grefydd hon cyhyd ag y bu allan; mae amser yn dyfod pan y caiff deimlo y bydd hyny yn fwy o les iddo nag a feddyliodd ei galon. Y mae erbyn hyn wedi dysgu gwers o brofiad iddo ei hun fwy nas gall brynu am aur nac arian, a dymunaf ar iddi fod yn fendith iddo dros byth. Yr Arglwydd a roddo iddo ei Ysbryd Glân mewn cyflawnder mawr, ac a'i nertho i orchfygu pob drwg, gan wneyd ei ran i adeiladu teyrnas Dduw, a thynu i lawr deyrnas y tywyllwch. Yr wyf o'm calon yn ei gymmeradwyo i sylw, ewyllys da, ac ymddiried y Saint, gan weddio drosto, a chladdu yr hyn a fu, heb sôn am dano, fel y byddom o un galon yn gweddio ar ei ran, ar iddo gael ei nerthu i ddyblu ei ddiwydrwydd, nes llanw y golled a wnaed yn yr amser a gollwyd.

Daniel Daniels,
*Llywydd yr Eglwys yn Nghymru.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS.

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 11.] MAI 24, 1856. [CYF. IX.

## MILFLWYDDIANT.

GAN THOMAS HARRIS, GYNT O DRE-SIOR.

[Parhad o dud. 135.]

WEDI dangos ychydig ar natur y Milflwyddiant, awn rhagom yn awr i chwilio i arwyddion yr amseroedd, er deall pa bryd y daw y cyfnod gogoneddus hwnw. Ac i'r dyben hyny cyferbynwn sefyllfa bresenol y byd a'r dygwyddiadau mynedol wrth y *prophwydoliaethau* a'u *cyflawniad.* Yn y ffordd hon y dywedodd yr Iesu y gallasem adnabod pan y buasai ei ddyfodiad yn agos, hyd y nod wrth y drysau.

Yr oedd rhai o'r saint gynt yn yr oes apostolaidd yn dysgwyl y buasai y cyfnod hwn yn gwawrio yn eu hamser hwy; o leiaf, yr oedd ar Paul ofn y buasai rhywrai yn twyllo y Thessaloniaid, a rhag hyny efe a ysgrifenodd atynt, gan ddywedyd, "Na thwylled neb chwi, oblegid *ni ddaw* y dydd hwnw hyd oni ddêl *ymadawiad* yn gyntaf." Ofer iddynt hwy yn yr oes hono ddysgwyl y Milflwyddiant nac Ail ddyfodiad Mab y Dyn hyd oni fyddai i'r Efengyl *ymadael* oddiar y ddaear. Beth, a oedd yr efengyl i gael ei chymmeryd oddiar y ddaear ar ol i Grist ei sefydlu cyn y buasai iddo ddyfod yn ei Ail ddyfodiad? Ydoedd; ac anghenrhaid yma yw dyfynu rhai o'r prophwydoliaethau ag sydd yn profi hyny cyn myned yn mhellach, fel y caffo y darllenydd gonest gyfleustra i ganfod fod eu cyflawniad *wedi* cymmeryd lle.

Pan ofynodd y dyscyblion i Grist, pa arwyddion fyddai o'i ddyfodiad, &c., fe ddywedodd, yn mhlith pethau ereill, y byddai iddynt hwy gael eu traddodi a'u gorthrymu, ac yn y diwedd y buasai iddynt gael eu lladd. Yna gan mai hwynt-hwy oeddent y llestri a gynnwysent y trysor, y gallu neu'r awdurdod o bregethu a gweinyddu yn ordinhadau yr efengyl, yr oedd yn rhaid, wedi iddynt hwy gael eu lladd, i'r gallu neu'r awdurdod hon i ddychwelyd i'r Llys nefol o'r hwn y daeth.

Rhai o'r prophwydoliaethau a brofant y byddai i'r efengyl i gael ei chymmeryd oddiar y ddaear cyn ail ddyfodiad Mab y Dyn sydd fel y canlyn:—"Canys myfi a wn hyn, y daw, ar ol fy ymadawiad i, fleiddiau blinion i'ch plith, heb arbed y praidd; ac o honoch chwi eich hunain y cyfyd gwyr yn llefaru pethau gwyr-draws, i dynu dyscyblion ar eu hol"—Act. xx, 30. "Ac y mae yr Ysbryd yn eglur yn dywedyd yr ymedy rhai yn yr amseroedd diweddaf oddiwrth y ffydd, gan roddi coel i ysbrydion cyfeiliornus ac i athrawiaethau cythreuliaid; yn dywedyd celwydd mewn rhagrith," &c.—1 Tim. iv, 1, 2, 3. Dyna brophwydoliaethau ag yr oedd y cyflawniad o honynt i gymmeryd lle yn mhell cyn Ail ddyfodiad Crist neu y Milflwyddiant. Y darllenydd diragfarn a wel fod y cyflawniad o honynt wedi cymmeryd lle. Ffydd i wrandaw "ar bob gair a *ddaw* allan o enau Duw" oedd gan y saint gynt; ond y mae dynion wedi ymadael oddiwrth y ffydd hono yn awr, gan ymfoddloni ar ambell i air, neu ranau dewisol a *ddaeth* allan gynt o enau Duw yn lle hyny. Ffydd i dderbyn "yr arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant" oedd gan y Saint gynt, sef bwrw allan gythreuliaid, &c; ond y mae dynion wedi *ymadael* oddiwrth y ffydd hono yn awr, gan floeddio "nad oes eu heisieu." Ffydd i dderbyn arddodiad dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glân, ar ol cael eu bedyddio er maddeuant pechodau oedd gan yr Eglwys gynt, ond y mae dynion wedi *ymadael* oddiwrth y ffydd hono yn awr, a dywedant heb un sail, fod hyny wedi darfod; ac y maent, fel eu tadau, "yn wastad yn gwrthwynebu yr Ysbryd Glân." Ffydd i dderbyn yr efengyl, nid mewn gair yn unig, ond mewn nerth ac mewn sicrwydd mawr yn yr Ysbryd Glân oedd gan y saint gynt, ond y maent wedi ymadael oddiwrth y ffydd hono yn awr, gan gofleidio "efengylau ereill," y rhai sydd mewn gair yn unig yn ei lle. Yr oedd gan blant Duw

gynt ffydd i dderbyn dawn iachâu, gwneuthur gwyrthiau, prophwydoliaeth, gwahaniaeth ysbrydoedd, amryw dafodau, a chyfieithad tafodau; y mae dynion wedi *ymadael* oddiwrth y ffydd hono hefyd, gan wawdio a dirmygu y sawl a broffesa eu mwynhau. Ffydd i geisio doethineb gan Dduw oedd gan y saint gynt, ond y mae dynion wedi *ymadael* oddiwrth y ffydd hono yn awr. gan chwilio yn unig am ddoethineb yn y colegau, &c.,. Pan fyddai plant Duw yn glâf yn y dyddiau gynt, yr oedd ganddynt ffydd i alw atynt henuriaid yr eglwys, ac i'r cyfryw i'w heneinnio ag olew yn enw'r Arglwydd, gan gredu y byddai i weddi'r ffydd iachâu'r clâf, yn ol addewid Duw; ond y mae dynion wedi *ymadael* oddiwrth y ffydd hono hefyd, gan alw atynt feddygon yn eu lle. Y mae hynyna yn ddigon, feddyliaf, i brofi fod y brophwydoliaeth flaenorol wedi ei chyflawni, sef fod dynion wedi ymadael oddiwrth y ffydd hono a roddwyd unwaith i'r saint, a thrwy hyny eu bod wedi rhoddi "coel i ysbrydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau cythreuliaid," o herwydd y maent yn gwneuthur hyny wrth roddi coel i unrhyw athrawiaeth sydd yn groes i air Duw. Dichon fod y darllenydd yn barod a gofyn—A ydyw *y ffydd hono* yn anghenrheidiol yn yr amser presennol? Atebaf, ei bod yn anghenrheidiol, canys "heb ffydd anmhosibl yw rhyngu bodd Duw," medd yr apostol. Ac mewn man arall, dywed—"Meddyliwch am eich blaenoriaid [yr apostolion]. y rhai a draethasant i chwi air Duw, *ffydd* y rhai dilynwch," &c.

Prophwydoliaeth arall a ddyfynwn yma yw,—"Gwybydd hyn hefyd y daw amseroedd enbyd yn y dyddiau diweddaf, cynys bydd dynion a'u serch arnynt eu hunain, yn ariangar, yn ymffrostwyr, yn feilchion, yn gablwyr, yn anufyddion i rieni, yn anniolchgar, yn annuwiol, yn angharedig, yn torri cyfammod, yn enllibaidd, yn anghymesur, yn ddiserch i'r rhai da, yn fradwyr, yn chwyddedig, yn caru melys chwant yn fwy nag yn caru Duw; a chanddynt rith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi"—Tim. iii, 1—5. Nid oes un darllenydd ymchwilgar a ammheua ur nad yw y brophwydoliaeth yna wedi ei chyflawni i raddau pell, fel nad oes eisieu manylu ar bob peth cynnwysedig ynddi. Pan gynhyrfir llawer i uno â chrefydd, chwiliant am y blaid liosocaf, a'r capeli neu'r synagogau harddaf, heb edrych i gywirdeb egwyddorion na'u cysson-

deb â gair Duw, ond ymfoddloni ar eu crefydd, os bydd muriau y synagog wedi eu gwychu yn hardd, a'r parch dysgwyliedig yn cael ei roddi i'r fodrwy aur, a hyny o herwydd eu bod yn *feilchion.* Mae blaenoriaid cyflogedig y bobl mor ariangar, fel y gadawant un blaid ac at y llall, os deallant y cânt ychwaneg o gyflog, serch "torri eu cyfammodau" wrth wneuthur felly, ac wrth hyny yn cyflawni y brophwydoliaeth trwy fod yn *ariangar.* Dealled y darllenydd mai nid at rai dibroffes y cyfeiria yr apostol, ond y rhai sydd "a chanddynt *rith* duwioldeb," neu rywfath o grefydd o waith dynion, gan "wadu GRYM duwioldeb," sef doniau yr Ysbryd Glân, neu allu Duw, gan "bentyru iddynt eu hunain athrawon." Prophwydodd yr apostol hefyd y buasai iddynt "ddysgu bob amser, ond heb allu dyfod un amser i wybodaeth y gwirionedd." Felly y mae yn ein dyddiau ni: adwaenaf bregethwyr ac offeiriaid ag sydd wedi treulio eu hoes i ddysgu, ac etto nid ydynt wedi dyfod i wybodaeth y gwirionedd, yr hyn sydd yn gyflawniad llythyrenol o brophwydoliaeth Paul.

Wedi i'r Iesu osod i fyny ei deyrnas yn y dyddiau gynt, yr oedd yn rhaid i'r saint "rodio yn ol y rheol hon," neu "gadw pob peth ar a orchymynodd efe iddynt," ond Judas a ddywedodd, pan yn ail-adrodd prophwydoliaeth Enoc am yr Arglwydd yn dyfod gyda myrddiwn o'i saint, y byddai yn yr "amser diweddaf watwarwyr, yn cerdded yn ol eu chwantau annuwiol eu hunain." Y mae yr holl wahanol bleidiau crefyddol yn gwrthod rhodio yn ol y drefn a'r ddysgeidiaeth apostolaidd, ac felly yn cyflawni prophwydoliaeth Judas, trwy rodio yn ol eu chwantau eu hunain, yn anianol, *heb fod yr Ysbryd ganddynt.*" Mae yr holl enwadau crefyddol wedi "ddidoli eu hunain," ac y maent yn gwadu nad yw yr Ysbryd ganddynt, ac nad oes ei eisieu chwaith.

Wedi profi y buasai i'r apostolion gael eu lladd, bleiddiau blinion ddyfod i'r eglwys, y bobl i droi ymaith eu clustiau oddiwrth y gair, ac at chwedlau, ac i'r efengyl gael ei chymmeryd o'r byd am nad oedd y ddaear yn deilwng o honi, ac fod yr oll wedi cael eu cyflawni yn llythyrenol, fel eu llefarwyd, gwelwn fod Paul wedi dywedyd y gwir, sef na fuasai y Milflwyddiant nac Ail ddyfodiad Mab y Dyn yn cymmeryd lle hyd oni ddêl *ymadawiad* yn gyntaf.

Yn nesaf, at arwyddion ei ddyfodiad; ac hyderaf y gwna y darllenydd ddarllen yn ddiduedd, rhag i'r dydd hwnw ddyfod pan y bydd efe yn ei anghrediniaeth, a chael ei gospi am hyny fel y cafodd y cynddiluwiaid gynt, canys "fel yr oedd yn nyddiau Noah ac yn nyddiau Lot, felly hefyd y bydd yn nyfodiad Mab y Dyn."

*(I'w barhau.)*

---

## CYMMANFA ORLLEWINOL MORGANWG.

Fe gynnaliwyd y Gymmanfa uchod yn Neuadd y Saint, Abertawy, ar yr 11eg o'r mis hwn. Am hanner awr wedi deg galwyd y cyfarfod boreuol i drefn, a dechreuwyd trwy gānu, a gweddiodd yr Henuriad D. Davies, Llanelli. Yna annerchwyd y gynnulleidfa liosog gan y Llywydd Thomas Harris yn debyg fel y canlyn:—Frodyr a Chwiorydd,—Gyda llawenydd gallaf hysbysu y meddwyf deimladau dymunol y boreu hwn, yn ngwyneb fod pob peth fel wedi cyduno i fod yn ffafriol i'n Cymmanfa,—yr hîn yn hafaidd,—tyrfa liosog o Saint a Swyddwyr wedi ymgynnull,—amryw Lywyddion Cynnadleddau, a Llywyddiaeth yr Eglwys yn Nghymru yn bresennol, ynghyd ag Ysbryd daionus Duw yn gwresogi pob mynwes, ac yn sirioli pob gwyneb hyd y nod ar ddechreu ein Cymmanfa, &c., &c.

Yna galwodd ar y Llywyddion canlynol i hysbysu sefyllfa gwahanol ddosparthiadau y Gynnadledd.—

Yr Henuriad John Jones, St. Brides,—Dosparth Penybont,—Mae y Saint a'r Swyddogion mewn sefyllfa dda. Meddant sêl ddwyfol dros achos Duw, yr hon a'u symbyla i'r penderfyniad o wneyd, gyda boddlonrwydd, yr oll a ofynir oddiar eu dwylaw gan weision Duw. Yr ydym yn pregethu allan agos yn mhob man yn ein cylch, ac y mae argoelion y bendithir ein llafur â llwyddiant.

Yr Henuriad Rees Jones, Cwmafon,—Dosparth Aberafon,—Yr wyf yn deall fod undeb a chariad yn mhlith y Swyddogion a'r Saint yn mhob Cangen o'r Dosparth; ac mae y profiad a gawsom yn y mynedol, yn awr yn allu effeithiol yn ein plith i wrthsefyll drwg a mwyhau ein gweithrediad mewn daioni. Gyda dywenydd y gallaf sicrhau i chwi heddyw fod argoelion boddlonus o gynnydd yn ein plith yn mhob ystyriaeth.

Yr Henuriad John Evans, Treboeth,—Dosparth Abertawy, —Mae y Saint yn teimlo yn dda yn y Dosparth hwn yn gyffredinol,—llawer wedi ymfudo, ac amryw wedi eu bedyddio yn eu lle, a rhai o'r cyfryw wedi cael eu galw i'r Offeiriadaeth, yr hyn sydd yn brawf fod y gwaith ar gynnydd. Y maent yn myned yn mlaen yn fywiog yn Nghangen Treforris, dan lywyddiaeth yr Henuriad Hopkin Jones; cafodd un o flaenoriaid y Wesleyaid ei fedyddio yn gyhoeddus yno dydd Sul diweddaf.

David Davies, Llywydd y Gangen Gymreig yn Abertawy,—Gallaf gyd-dystio â'r Brawd Evans am sefyllfa y Dosparth hwn. Bedyddiwyd chwech yn y Gangen hon yn ddiweddar, ac fe welir y swyddogion yn fynych gyda bywiogrwydd yn pregethu agos yn mhob congl.

Yr Henuriad Wm. Lewis, Alltwen,—Dosparth yr Alltwen, —Mae teimlad dymunol yn ein plith fel Saint, gydag ychydig eithriadau, fel y gellir dysgwyl yn mhlith cynnifer. Nid oes cymmaint o sylw ag a ddymunem yn cael ei roddi i bregethu; gan hyny, yr ydym yn myned â llyfrau o dŷ i dŷ, ac yn llwyddo yn rhagorol yn y ffordd hono.

Y Llywydd T. Harris,—Yr wyf yn dra boddlongar yn sefyllfa bresennol y Gynnadledd. Nid llawer o'r "doethion" a alwyd, etto, y mae Duw wedi llwyddo y gwaith yn rhyfeddol yn nwylaw offerynau gwael; na wangaloned neb o honom o herwydd ein gwaelder, ond ymnerthwn yn ein Duw, fel y byddom yn gedyrn yn Israel, canys y mae y gwaith a feddwn yn fawr, ydyw, yn fwy na dim a fu ar y ddaear er y Cread hyd yn awr, ac efe a lwydda. Pe gwybyddai y byd y filfed ran o'i fawredd, deuent, gyda'r boddlonrwydd mwyaf, a'u trysorau gwerthfawr i'w gynnorthwyo, &c., &c

Rhoddwyd awdurdodau yr Eglwys i sylw y Gymmanfa, ac fe dderbyniodd yr oll o honynt y gymmeradwyaeth wresocaf, heb un eithriad! Sylwodd y Llywydd Harris fod UNDEB y Saint yn syndod i'r byd, &c.

Cymmeradwywyd y Llywydd Thomas Harris i barhau yn Lywyddiaeth y Gynnadledd, a phenodwyd fod yr Henuriad John Davies, gynt o Feirion, i fod yn Gynghorydd iddo.

Y Llywydd Israel Evans,—Dylem ystyried, pan yn cymmeradwyo Llywyddiaethau yr Eglwys, mai gweithredu allan eu cynghorion a'n gwna yn deilwng, ac nid codiad ein llaw yma

yn unig; ac os diystyrwch unrhyw Swyddog yn yr Eglwys byddwch wrth hyny yn diystyru yr hwn a'i danfonodd.

Rhyddhawyd yr Henuriad Wm. Lewis o fod yn Ddosparthwr ac yn Ysgrifenydd y Gynnadledd, a phenodwyd yr Henuriad John Davies yn ei le. Yna darllenwyd y gwahanol gyfrifon er boddlonrwydd i bawb.

Wedi deall wrth ddarlleniad y Cynnrychioliad fod 20 wedi eu bedyddio yn y chwarter a chael annogaethau teilwng gan y Llywydd Harris i fod yn garedig i ddyeithriaid, ymadawyd dan fendith y Llywydd Daniels.

Am ddau o'r gloch, wedi canu, gweddiodd yr Henuriad Abednego Williams, Merthyr. Yna hysbysodd y Llywydd T. Harris y treulid y rhan fwyaf o'r cyfarfod i bregethu yn Seisneg (gan fod yno lawer iawn o foneddigion wedi dyfod i'r lle i wrando), ac annogodd y Cymry i fod yn amyneddgar.

Y Llywydd B. Ashby,—Edrycha y byd ar y Saint fel rhai yn credu rhyw bethau dyeithr neu wrth-feiblaidd, ond nid o herwydd fod y Beibl yn dweyd y naill beth nâ'r llall y pregetha y Saint, ond o herwydd eu danfonwyd gan Dduw. Etto hyn a allwn ddweyd am y gwahanol enwadau,—Nad yw yn bosibl i'w hamrywiol athrawiaethau hwy a'r Beibl fod yn wirionedd, canys gwrthwynebant eu gilydd. Ond gwyddom ni y cynnwysa y Beibl egwyddorion ag sydd yn rhaid eu gwneyd cyn y gellir cael iachawdwriaeth. Nid ffydd hanesyddol am Iesu Grist wna y tro, ond rhaid credu yn anysgogrwydd ei eiriau yn awr cyn y gellir cael bywyd tragywyddol.

Pwysodd egwyddorion y Saint, a rhai y byd sectyddol, yn nghloriannau yr ysgrythyr, a chafwyd rhai y sectau yn brin o fwy nâ phedair wns y pwys. Yna aeth rhagddo gan bregethu yr egwyddorion sydd yn dechreu dyn yn Nghrist, yn effeithiol iawn, a therfynodd gan ddwyn tystiolaeth nerthol am y gwirionedd.

Y Llywydd Israel Evans,—Mae y sylwadau blaenorol gan fy mrawd yn wirionedd, os yw y Beibl yn wirionedd. Pe meddai rhyw sect fwy neu well egwyddorion nâ ni, awn atynt i'w dysgu gyda'r pleser mwyaf.—Bernir fod ein hegwyddorion yn newydd neu ddyeithr, ond nid felly y mae, canys nid yw yr hyn a gredwn ddim amgen nâ'r hyn a gredwyd ac a weithredwyd gan Saint Duw gynt. Nid ystyriwn fod y Beibl yn ddigonol gyfar-

wyddyd, ac yn hyny o grediniaeth nid ydym yn gwahaniaethu oddiwrth ein cyd-oesolion yn gyffredinol, ond yn unig y credwn ni mai "dadguddiad" oddiwrth Dduw sydd yn eisieu yn ychwanegol, tra y credant hwythau mai y "*Common Prayer*," "Cyffes Ffydd," ac "Esboniadau."—Pwy a welodd amser yn cyfnewid gwirionedd i anwiredd? Neb. Pa fodd y dichon i'n egwyddorion fod yn gyfeiliornus yn awr tra yr oeddynt yn wirionedd gynt ?

Yna cyfeiriodd at wahanol addewidion ysgrythyrol, gan ofyn —Pwy a feddant y sylwedd perthynol i'r addewidion hyny yn awr? . . . . .

Y Llywydd Daniels.—Mae gwirioneddau pwysig wedi eu cyfeu o flaen y gynnulleidfa heddyw, a'n dyledswydd ni fel Saint yw bod yn ddyfal bob amser i ymgais am gael ein cyd-ddynion i Eglwys Dduw, trwy draethodu, pregethu, neu siarad yn gyfrinachol; oblegid ni achubir y byd wrth edrych arno, ond y mae yn rhaid gwneuthur ymdrechiadau gwirieneddol. Pawb na phregethant yn unol â'r Beibl nid ydynt o Dduw, a gwyddom nad oes neb yn y byd, ond y Saint yn pregethu yn unol â'r Beibl. Gan hyny, dylai fod ymdrechiadau diorphwys gan bawb sydd yn adnabod Eglwys Dduw i achub y byd. Hyderaf fod pawb sydd yn bresennol wedi cael annogaethau digonol yn y Gymmanfa hon i'w symbylu i fod yn fwy diwyd a dyfalbarhaus gyda eu dyledswyddau, canys bŷr-waith a wna yr Arglwydd ar y ddaear. Gan hyny, caffer ein gweithredoedd yn deilwng o gymmeradwyaeth Duw, fel y caffom ein gwaredu yn brydlon o Babilon.

Gallaf dystio fod Joseph Smith yn Brophwyd i Dduw, ac mai pobl dda, dan nawdd y nefoedd, sydd yn byw yn Utah.

Yna cymmeradwywyd y Llywyddion a lywyddant y Canghenau i barhau felly yn y tri mis dyfodol.

Rhoddwyd cenadiaeth i William Richards, Cwmhwrla, i fyned i bregethu, a chymmeryd gofal fod trigolion Bro Browyr yn cael cynnyg ar Efengyl Crist yn nghyflawnder ei bendithion. Yr Arglwydd a'i llwyddo i ddwyn llawer i gofleidio y gwirionedd yn fuan.

Hefyd fod Jenkin Davies, Abercenffig, i fyned i Drefnewydd, ger Penybont, i gyhoeddi y newyddion da, a dwyn yr onestion eu calonau i Eglwys Dduw. Bendith y nef fyddo ar ei lafur.

Cymmeradwywyd yr Henuriaid Emrys Davies, Aberafon, a John Jones St. Brides, i fod yn olygwyr *(auditors)* ar wahanol gyfrifon y Gynnadledd.

Wedi dechreu y cyfarfod hwyrol fel arferol, galwyd ar Wm. Jones, Llywydd Cynnadledd Caerfyrddin, yr hwn a sylwodd fod pobl gynt yn crefydda yn gydwybodol, ac ar yr un pryd yn tywallt gwaed y Saint. Tystiolaethodd am ddwyfoldeb y gwaith hwn, gan egluro egwyddorion yr efengyl.

Abednego Williams, Llywydd Cynnadledd Merthyr, a ddywedodd,—Gellwch ddeall Mormoniaeth yma yn well nag mewn un capel arall yn y dref. Yr ydym ni yn credu y Beibl yn gyfangwbl, ac am hyny y mae ereill yn dywedyd nad ydym. Yna cydmarodd gynlluniau y byd â chynllun Mab Duw, a phrofodd yn eglur eu bod yn groes i'w gilydd, &c., &c.

David Davies, Llywydd Cynnadledd Llanelli, a ddangosodd ragoriaeth Efengyl Crist ar efengylau'r byd. Dywedai fod y bobl yn cwyno am ein bod yn pregethu yr un peth, ond, gofynai,—Yn enw rheswm, beth a bregethwn ? pe dywedem rywbeth yn amgen i'r hyn a ddywedai Paul, byddai " anathema maranatha" yn arllwys eu cynnwysiad arnom, &c., &c.

Yna y Llywydd Ashby a roddodd addysgiadau rhagorol, yr hwn a ddangosodd mai trwy wneuthur daioni i'w gyd ddyn yr ennilla dyn ddedwyddwch yn y fynwes, &c., &c.

Y Llywydd T. Harris a ddiolchodd i'r gynnulleidfa am eu hastudrwydd yn gwrando drwy y dydd, gan eu hannog mewn sobrwydd i ufydd-dod. Terfynwyd trwy weddi gan

JOHN DAVIES, *Ysgrifenydd.*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MAI 24, 1856.

MAE gwaith y dyddiau diweddaf yn fawr, a'r gweithwyr yn anaml; mae trefydd a phentrefydd, a llawer o blwyfydd cyfan

yn Nghymru heb un o weision Duw i gynnyg i'r bobl efengyl yr hedd. Mae Duw wedi galw,—Pwy a â? ac y mae llawer wedi ateb y flwyddyn hon,—Wele fi, anfon fi! a thrwy hyny yr ydym yn cael testun i fawr lawenhau am fod llawer o'r diffygiadau yn cael eu gwneyd i fyny gan ein brodyr,—ond, etto y mae lle. Mae llawer yma a thraw yn sefyll i fyny i bregethu Mormoniaeth, meddent hwy, ac heb fod yn dal cyssylltiad â ni, nag â neb plaid arall chwaith; ac y mae yn druenus meddwl fod llawer yn Nghymru mor bell mewn traddodiad a rhagfarn, fel y credant fod y cynllun yna yn resymol a rheolaidd. Agorant eu synagogau i elynion y gwirionedd, a chaniatânt i'r cyfryw i ddringo eu pwlpudau i gablu Duw a rhegu ei bobl; ac y mae llygaid crefyddwyr yn sirioli wrth wrando ar chwedlau celwyddog y cyfryw, pan y gwrthodant roi benthyg eu clustiau i wrando ar y gwirionedd. Mae hyn oll yn uchel alw ar filwyr Iesu i ddyfod i'r maes yn nerth eu Duw, ac yna hwy a wnant rymusder—trwy eu ffydd a'u gwroldeb, chwalant y niwl dudew nes y gwêl yr onestion eu calonau ddysclaerdeb efengyl ein Harglwydd—cofleidiant hi, ac ufyddhânt iddi, a chant dystiolaeth o'i dwyfoldeb, ac yna bydd ynfydrwydd ei chablwyr yn eglur i bawb o honynt. Yn awr, frodyr anwyl, yw yr amser i ymdrechu.

---

HYSBYSIAD Y LLYWYDDIAETH BRYDEINIG.—"Yn ngwyneb agoshâd amser ein dychweliad i Utah, a throsglwyddiad busnes ein llywyddiaeth, crefwn am sylw i'r hysbysiad canlynol—

Gofynir i Lywyddion Cenadiaethau, y Bugeiliaid a'r Llywyddion yn y Genadiaeth Frytanaidd, anfon i ni cyn y 30ain o Fehefin, yr holl ddegwm sydd wedi cael ei gasglu, a'r cyfraniadau at y D. Y. Barhaus, a Rhoddion at y Deml, am y chwarter yn terfynu Mehefin 30ain, oddiwrth y Saint o fewn eu Llywyddiaeth.

Hefyd, yr edrycha y Bugeiliaid a'r Llywyddion yn y Genadiaeth Frytanaidd yr anfona y Prif Ddosparthwyr yr holl arian llyfrau a allant dros eu Cynnadleddau erbyn yr un amser.

Gofynir i bawb ag y mae arian iddynt yn y Swyddfa hon i ysgrifenu atom ni, gan nodi y swm.

Y mae yn ofynol i bob dyledion personol, pa un ai am nwyddau, arian, neu am gludiad llythyron gael eu talu cyn y

30ain o Fehefin, fel na orfoder ni i gyflwyno y fath bethau i'n holynydd i'w casglu.

Gofynir yn bendant am i'r holl bethau uchod gael eu hanfon i ni cyn, neu o bellaf erbyn y 30ain o Fehefin, oherwydd fe gauir ein cyfrifon y diwrnod hwnw.

F. D. RICHARDS."

---

Dymunwn ninnau i'r trysorwyr Cymreig anfon y pethau uchod mewn pryd i gyrhaedd yma o bellaf erbyn y 27ain.

---

HWYLIODD y llong "Thornton," Cadben Collins, ar y 4ydd o'r mis hwn tua Chaerefrog Newydd, a 764 o eneidiau ar ei bwrdd, o ba rhai yr oedd 163 o'r Genadiaeth Scandinafaidd.

---

EGWYDDOR NEWYDD DESERET.—Deallwn trwy lythyr y Llywydd Brigham Young am Ragfyr 24, 1855, y bydd i nifer o lyfrau gael eu hargraffu yn y Swyddfa yn Liverpool yn yr *Alphabet* Newydd, yn yr hon y bydd llythyren i ateb pob sŵn, a dim un dwy lythyren o'r un sŵn, ac fe ddysgir y ffurf newydd o syllebu trwy holl ysgolion y Diriogaeth; yna gellir syllebu yn gywir yn ol sŵn y llythyrenau, yr hyn rydd fantais fawr i blant, ac hefyd i ieithwyr ereill i ddarllen yr iaith Saesneg yn rhwydd. Dyma annogaeth gref i'r Cymry i ymroi at ddysgu Saesneg.

---

CYMMANFAOEDD.—"Cynnaliwyd Cymmanfa Brycheiniog ar y 27ain o Ebrill. Gwnaethpwyd y rhan eglwysig o waith y dydd mewn undeb a llwyddiant, a deallais eu bod wedi ei gario yn mlaen yn ddiwyd â'u moddion ac â'u hymdrechiau yn y chwarter mynedol.

Yn yr hwyr yr oedd yr ystafell yn llawn o wrandawwyr siriol. Y rhai a lefarasant yn ystod y dydd oeddynt, yr Henuriad J. Thomas Llywydd y Gynnadledd, yr Henuriaid Evan Rees a Thomas Parry o'r Blaenau, ynghyd a'ch

Gostyngedig frawd,

ISRAEL EVANS."

---

MYNWY.—Yr un fath dywedwn ninnau am Gymmanfa Sir Fynwy, yn Nhredegar y Sul canlynol lle y cawsom y fraint o

fod yn bresennol a gweled yr un penderfyniad i gyssegru, eu hunain, eu hamser, a'u moddion i waith yr Arglwydd i'r graddau gofynol ganddynt, am yr hyn y diwalla yr Hwn a bia y gwaith hwynt â gallu a moddion i'w wneuthur.

---

## Y RHYFEL INDIAIDD.

DYWED llythyr oddiwrth Joel Palmer, Arolygydd Goruchwylion Indiaidd yn Oregon, yr hyn a ganlyn:—

"Yr achos dechreuol o'r anhawsderau presennol yn Oregon ddeheuol, oedd ymddygiad cynhenus y dynion gwynion," ac ychwanega, "Ni allaf lai na theimlo mai ein dyledswydd yw gwneuthur y cyfryw drefniadau a amddiffynant fywydau yr Indiaid hyn, ac i gadw addewidion ac ammodau blaenorol heddwch yn ddidòr. Fe brofa y dyfodol fod y rhyfel hon wedi cael ei gorfodi ar yr Indiaid hyn yn erbyn eu hewyllys, a hyny hefyd an blaid o ddihirod dibris, gyda dybenion i elwa ac i ennill swyddau gwladol, yn cael eu cefnogi gan boblogaeth liosog a ystyriant Drysorfa yr Unol Daleithiau yn wrthddrych cyfreithlawn i'w hyspeilio ganddynt. Wedi cael eu gyru i greulondeb mae yr Indiaid gan ymddygiadau creulonach dynion gwynion tuag at eu pobl. Mae ammodau wedi cael eu torri, a gweithredoedd barbaraidd wedi cael eu cyflawni gan y rhai a broffesent fod yn ddinasyddion, ag a warthruddai genedloedd barbareiddiaf y ddaear."

darnheir hyn gan lythyr y Prif Gadfridog John E. Wool, yr hwn a ddywed fod amryw o bobl a milwyr wedi penderfynu ar, a dau o'r newyddiaduron yn cyhoeddi o blaid gyru yr Indiaid allan o'r wlad. Dechreuwyd gwneuthur hyny heb wahaniaethu rhwng gelyn na chyfaill, benywod na phlant, cyhyd ag y byddant yn gochion neu yn Indiaid! Dygasent eu hanifeiliaid, gwnaethant bob Indiad yn nod i'w saethau, hyd nes y mae yr Indiaid cyfeillgar wedi ymgynddeiriogi, ac ymuno â'r lleill mewn hunan amddiffyniad, ac fe ofynir chwaneg o filwyr yr Unol Daleithiau i wrthsefyll yr holl lwythau rhyfelawg hyn. Trwy y cyfan fe anturiodd un o benaethiaid yr Indiaid dan faner gynghrairiol, gan dystio ei fod dros heddwch, nad oedd efe na'i bobl am ymladd, ond o'u hanfodd yn orfodol, ac os oedd

rhai o'i wir ieuainc wedi ymddwyn allan o le, y caffent wneyd iawn; a chynnygiodd anifeiliaid yn ymborth i'r *volunteers* milwraidd, y rhai a gymmerasant y fantais ar ei sefyllfa anymddiffynol, ac a'i lladdasant. Cymmerasant groen ei ben ymaith, torasant ymaith ei glustiau a'i ddwylaw, a danfonasant hwynt i'w cyfeillion yn Oregon!

Amser a ddywed pa beth a wna'r Indiaid; maent wedi dechreu talu y pwyth. Yr un yw yr ymddygiad tuag atynt yn Nghaliifornia, lle y mae rhyfel Indiaidd arall hefyd. Ceir yr hanes a ganlyn yn y "New York Herald" am Ebrill 2:—

"Ar foreu y 23ain o Chwefror, ymosododd rhai o'r Indiaid yn ddisymmwth ar ffermydd glàn yr afon Rogue, lle yr oedd deg neu ddeuddeg o filwyr y Cad. Poland yn aros, tra yr oedd y gweddill yn absennol mewn gwledd bedair milldir yn îs. Fe ddywedir i'r frwydr barhau yn agos dros ddydd Sadwrn, ac ni ddiangodd ond rhyw ychydig o'r bobl hynion i roddi yr hanes. Lladdwyd pob un o'r ffermwyr, a bu lladdfa erchyll a chyffredinol o fenywod a phlant.

Diolched y Saint nad felly y mae yn Nhiriogaeth heddychol Utah, er ei bod yn gorwedd yn y canol rhwng y ddau le. . . . . . Mae teithwyr yn synu fod y fath ddylanwad gan y Mormoniaid ar yr Indiaid, fel nad oes ond heddwch yn teyrnasu rhyngddynt. Mae y Saint wedi eu dilladu a'u porthi, eu golchi a'u cribo, gan ddysgu celfyddydau iddynt, ac yn y ffordd hono y maent yn dyfod yn heddychol a chysurus.

---

## "EMYN Y PROFIAD."—*YR AIL RAN.*

Ermygawl Olygydd,—Megys y cefais hamdden a chyfle y dydd arall i ganu ymaith fy "nhrallod," goddefwch i mi etto, y waith hon, i ganu Croesaw Orfoledd, yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, a llyma fe:—

---

"Mae'r awel lân yn cann
Rhwng y gwydd a'r coedydd cu."

---

Cilia'r nos!—bu'n ymfantellu,
Tristwch a gorthrymder im',
Wele'r nifwl yn gwasgaru!
Ffy y drycin heibio'n chwim;

Wedi cyrhaedd nod yr amcan,
  E gaed rhyddid i fy rhan;—
Ti fy Nuw, sy'n llywio'r cyfan.
  Er fy llesiant yn mhob man!

Ffyrdd ein Iôr y'nt uwch pob deall!
  Uwch pob trefn, yw, Trefn y Nef!
"Y naill beth ar gyfer arall,"
  Ydyw urdd ei drefniad Ef!
Heb y chwerw, beth yw'r melus?
  Heb y nos, pa beth yw dydd?
Heb elyniaeth byd caethiwus,
  Beth yw heddwch breiniau rhydd?

Rhodded poen. ar gyfer pleser,
  Rhodded drwg ar gyfer da,
Gadael drwg yn llwyr, a adfer
  Ddyn i'r gwynfyd a fwynhâ;—
Hyn eglurodd nerth Cyfiawnder,
  Yn y trosedd Cyntaf fu.—
I Drugaredd o'r uchelder,
  Arnom oll i wêuu 'n gu!

Rhaid er puro'r aur a'r arian,
  Rhoddi tawdd i'r rhai'n mewn tân,
Rhaid, wrth demtasiwnau satan
  Er fy mhuro innau'n lân!
'Nol darostwng, mae dyrchafu;
  Wedi rhwymo, mae rhyddhau;
Ar ol wylo a galaru
  Mae gorfoledd i'w fwynhau!

Dengys tymhestl, nerth a thyfiant
  Gwraidd, 'nol lledu yn y llawr,—
Dengys trallod, werth y mwyniant,
  Yn fy nghalon innau 'nawr!
"Profi pob-peth, dal," er hyny,
  "'Rhyn sydd dda,"—a gwadu'r gau;
Duw ei hun a'm dyg i fyny,—
  Dyd i'm calon lawenhau.

Melus gwrdd a tharddiad ffynnon,
  Wedi goddef syched maith!
Dedwydd gorphwys, *o dir estron*
  I'r lluddiedig ar ei daith!
Megys nhilliad yn y cwmwl,
  Lle caf lewyrch llygad haul—
Ydyw hamdden fach i'r meddwl,
  Wledda'n llon ar ffrwyth didraul.

Dorau llydain gwawl y bywyd,
  Ymagorodd o fy mlaen!—
Mae'r awelon iachus hyfryd,
  Ar adenydd, oll ar daen!
Dacw'r las-wawr yn ymgolli!
  Dydd sy'n lledu ar bob llaw!
Dacw'r haul a'i bur oleuni,
  Yn goreuro'r bryniau draw!

Cathlau pêr sydd ar y cangau,
  Yn telori rhwng y dail;—
Mawl boreuol ar anthemau—
  I fy mhrofiad nid yw'n ail!
Clodydd byw a leinw'm calon!
  Dyrchaf fawl ag enaid rhydd!
Llifa heddwch im' fel afon,—
  Caf oleuni "canol dydd!"

Fy rhinweddau fo'n blaguro,
  Goruwch twf y dyffryn bras;—
Gwir digymmysg wy'n gofleidio—
  Unlliw saif,—fel awyr lâs!
Yn ei wydd diflana mawredd,
  A gogoniant byd yn llwyr!—
Cyfoeth, urddas ac anrhydedd,
  Giliant fel "cysgodau'r hwyr!"

O! fy Nuw, 'rwy'n llawenychu,
  Yn dy gariad—sy'n parhâu;
Ddydd a nos wy'n gorfoleddu
  Am wirionedd i ryddhâu!
Pob amgylchiad a'm cyferfydd,
  Sydd i mi'n mwyhau ei werth,—
Ei ddyddanwch yn mhob tywydd,
  Sy'n chwanegu i mi nerth.

Hen *grefyddau meirwon Babel!*
  Annigonol y'nt i gyd,
I roi bywyd yn ddiogel,
  Am uu orig fèr ei hyd!
Gau pob gau—eu holl ddylanwad—
  Dim o ddim, ond gwegi'n llawn!
Sŵn heb sylwedd—yn amddifad
  O ysbrydawl ddwyfol ddawn!

*Crefydd Bur*, sy'n 'nawr yn nithio,
  Traddodiadau'r byd o'r bron!—
Mae'r cenedloedd yn ymwylltio
  O flaen dydd gwyntylliad hon!

Grym anfeidrol Offeiriadaeth
Fawr y Nefoedd friwia 'nawr
Gestyll cedyrn anghrediniaeth!—
Holl ogoniant Babel Fawr!

Mae fy mod yn un o ddeiliaid
Teyrnas Iesu, 'n lloni 'mryd.
Ac yn ennyn fy holl enaid.
Yn sêl danllyd drwyddo'i gyd!
Dryllio caerau twyll y gelyn.
Ydyw'r nwyfiant leinw 'mron.
Cael Llywodraeth Duw i ganlyn,
A byw byth yn heddwch hon.

Tra bo'm traed ar dir caethiwed.
Ni orphwysaf—gweithio wnaf,
O dan allu Duw, a'i nodded –
Yna gwaredigaeth gaf;
Archaf beunydd nerth ei Ysbryd,
Tystiaf drosto ar bob cam,
Dyma gysur pena' mywyd—
Cariad, ato, lysg yn fflam!

*Abertawy, Mai* 22, 1856. DEWI ELFED JONES.

---

DYLEDION AM LYFRAU AR Y GWAHANOL GYNNADLEDDAU AM Y CHWARTER YN TERFYNU, MAWRTH 31, 1856

Sir Fynwy, £30 4s 8c; Dwyreiniol Morganwg, £50 19s 10c; Gorllewin Morganwg, £101 1s 3½c; Llanelli, £46 11s 11¼c; Caerfyrddin, £22 18s 5c; Penfro, £4 7s 4c; Sir Aberteifi. £15 14s; Meirionydd, £11 1s 1½c; Fflint, £15 3s 0½c; Dinbych, £11 5s 6c¼; Dyffryn Conwy a Môn, £10 3s 11c; Cangen Liverpool, £3 2s 5½c; Swyddfa Liverpool, 6s 9½c; Henffordd, £1 13s 6c; Brycheiniog. £1 17s 2c; Cyfanswm,—£326 11s.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O EBRILL 25 HYD MAI 23.—G. Roberts, £1 9s 6c; J. Treharn, £1 10s 6c; John Davies gan Wm. Lewis, £4 5s 7½c; Hugh Roberts, £1; Wm. Jones 15s; T. Stephens gan Wm. Lewis, £18 7c: T. Rees, 10s 6c; John Gibbs, 1s 1c; Thomas Jones, 5s; T. Stephens, £4.

---

CYNNWYSIAD. TUD



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 12.] MEHEFIN 7, 1856. [CYF. IX.

## PRIODAS A MOESAU YN UTAH.

*Annerchiad a ysgrifenwyd gan yr Henuriad Parley P. Pratt, ac a ddarllenwyd yn Sasiwn Senedd Utah gan Mr. Thomas Bullock, prif ysgrifenydd y Tŷ, yn neuadd y Cynrhychiolwyr. Fillmore, Rhagfyr 31, 1855. Talodd aelodau y Senedd eu diolchgarwch i'r awdwr trwy bleidlais unfrydol, a thrwy gyffelyb bleidlais archasant i'r Annerchiad gael ei gyhoeddi yn y "Deseret News."*

*(Allan o'r "Deseret News.")*

MR. Llywydd a boneddigion,—Ar agoriad Sasiwn bresennol ein Senedd flynyddol, cefais yr anrhydedd o gael fy ethol i fod yn gaplan y Cynghor.

Gosodwyd fi ar y pryd, ac yn y lle hwnw, dan lŵ difrifol i flyddlawn gyflawni dyledswyddau yr alwad uchel a santaidd hon hyd eithaf fy ngallu, a dwys annogwyd fi gan yr anrhydeddus Lywydd, Mr. Kimball, i fod nid yn unig yn daer mewn gweddi yn ystod y Sasiwn, ond hefyd i gynorthwyo â'm hadling i ffurfio sefydliadau moesol a chyfeillachol ein gwlad.

Yn unol a'r gofalon cyssegredig hyn a osodwyd arnaf, darperais, drwy beth trafferth, yr Annerchiad yma, yr hwn wyf, gyda mawr bleser, yn cael y fraint o'i osod o'ch blaen; nid yn unig, neu yn fwyaf neillduol er eich mwyn chwi; eithr er mwyn pobl ein Tiriogaeth,—ein cenedl, a'r byd.

Gan fod ein Tiriogaeth ieuanc a chynnyddol oddeutu ceisio rhyddid fel gwerin-lywodraeth annibynol, ac i gymeryd ei



[PRIS 1g.

lle yn mhlith y teulu o Daleithiau Americanaidd, y mae yn gweddu i'w dinasyddion, ac yn enwedig y rhai sydd yn ymwneyd â sylfaenu ei sefydliadau, i buro eu hunain, ac i ddyfod ynghyd gyda chalonau pur a dwylaw glân; ac, yn wisgedig â goleuni megys â mantell, i osod sylfaen ffurf-lywodraethol, ac i wneuthur neu fabwysiadu y cyfryw gyfreithiau a dueddant i buro a derchafu y bobl,—sefydlu cyfiawnder ac heddwch, a lliosogu a bytholi cenedl o ddynion rhyddion yn y radd uchaf o gyrhaeddiadau moesol, dysgedigaethol, a nerthol.

Ni ddylai un mesur gwasanaethyddol dros amser neu am y presennol gael lle yn yr hyn a gyfansoddwn, na chael dylanwadu arnom am foment. Gweithredwn, nid yn unig, neu yn fwyaf neillduol drosom ein hunain, neu dros yr oes sy'n byw; eithr dros fyrddiynau anfynegol o hiliogaeth, a thros oesoedd ag ydynt etto heb eu geni, pa rhai yn ddiau a ddylanwadir gan ein sefydliadau: ac y ffurfir eu moesau, eu hymarweddiadau, eu rheolau, ac hyd y nod eu cydwybodau, fwy neu lai, yn ol y cynllun a osodwn iddynt.

Mae awyrgylch foesol iachus, a chydwybod wedi ei phuro a'i goleuo gan ysbryd y gwirionedd, yn anhebgorol angenrheidiol er tyfiant parhaus cenedl, ac er nerth a pharhad sefydliadau.

Mae y Creawdwr holl-ddoeth, sef Duw Natur, wedi planu yn y galon ddynol serchiadau neillduol, pa rhai, gyda iawn wrtaith a chyfarwyddyd, a roddant fodoliaeth i gylymiadau teuluaidd; yna, yr angenrheidrwydd a'r pwysigrwydd o'r cyssylltiadau moesol a chyfeillachol, a'r sefydliadau er eu hiawn gyfarwyddyd a'u llywodraeth.

Cyfraith gyffredinol Natur, a gorchymyn cyfiawn a mawr gyda bendith ydyw; fod i'r naill a'r holl rhywiogaethau amlhau a chyflawni mesur eu creadigaeth. Dyma dyfiant teuluoedd, eginyn cenedloedd; ac yna, fel y sylwasom o'r blaen, gweler yr angenrheidrwydd o gyfreithiau wedi cael eu sylfaenu mewn doethineb, i amddiffyn fel pe byddai, ffynonell a tharddiad bywyd.

Mewn gair,—serchiadau a sefydliadau moesol a chyfeillachol ydynt wir sylfaen pob llywodrâeth, pa un bynag ai yn deuluaidd, Eglwysig, neu yn Wladol. Os y rhai hyn a wyrdröir, neu a sylfaenir mewn cyfeiliornad, byddyr addeilad yn chwithig oll o'r gwaelod, ac fe gynnwysa o'i fewn hadau ei ddarfodedig-

aeth a'i ddadansoddiad ei hunan. Mae y ffeithiau hyn nid yn unig yn hunan-eglur, ond yn unol a phob profiad: yn cael ei arddangos yn narfodedigaeth a dadansoddiad cenedloedd ac amherodraethau cyntefig; yn ogystal ag yn y gwendid a'r llygredigaeth cyffredinol sydd mor arddangosiadol o ddynion a phethau yn yr amser presennol.

Gwaeddodd y Prophwyd Esaia pan yn syllu trwy yspienddrych blynyddau hir ddyfodol, ac o'r diwedd yn canfod gweledigaeth o'r "Gristionogaeth" bresennol, neu o'r llygredigaethau a gyfodent allan o'r rheolaeth Rhufeinig, Esai. xxiv. 5, "Y ddaear hefyd a halogwyd dan ei phreswylwyr; canys troseddasant y cyfreithiau, newidiasant y deddfau, diddymasant y cyfammod tragywyddol."

Gofynwn yma: Pa gyfreithiau a droseddwyd? Pa ordinhad a newidwyd, a pha gyfammod tragywyddol a dorrwyd,—effaith yr hwn a halogai, hyd y nod y ddaear dan ei phreswylwyr? Arweinia hyn ni yn ol yn ein hymchwiliadau at sefydliadau, cyfreithiau ordinhadau, cyfammodau, a chynlluniau boreuaf sydd ar hanes yn cyffwrdd â phriodas, a'r cyssylltiadau moesol a chyfeillachol.

Os cawn gyfreithiau, sefydliadau a chynlluniau yn deilliaw oddiwrth Dduw; ac yntau ei hun wedi tyngu eu bod yn dragywyddol; megys bendith i bob cenedl—os deallwn fod rhywbeth a fyno y rhai hyn â mawr liosogrwydd yr hîl, ac â chorffoliad a a chynnydd teuluol a chenedlaethol—os ydyw y fath sefydliadyn henach na Moses, ac os ceir eu bod yn cael eu cadw yn y blaen yn ddigyfnewid gan Moses a'r Prophwydi, Iesu a'r Apostolion, yna fe ymddengys fel prawf, eu bod wedi cael eu bwriadu i fod yn sefydlog; ac nad oes gan un gyfraith neu awdurdod ddynol yn unig, pe y deilliai oddiwrth amherawdwr, brenin neu bobl, yr un hawl i'w cyfnewid, eu gwella, neu eu gwyrdroi hwynt.

Fe erys i'w egluro wedyn gan bwy y newidwyd neu y gwyrdrôwyd y sefydliadau hyn; effaith niweidiol y fath gyfnewidiadau ar y cenedloedd, a'r unig lwybr sydd ar ol i'r rhai a ddiangent rhag chwilfrywiad cenedloedd a dylliad bydoedd.

Ein hamcan, foneddigion, yw i gymhell ar swyddwyr a phobl, un o leiaf o daleithiau neu lywodraethau ein daear i ochelyd rhag y graig a'r tywod-byw ar ba rai y mae cynnifer wedi

ymddryllio—i adferyd cyfreithiau, ordinhadau, a chyfammod tragywyddol ein Duw: fel y purer ac y cadwer eu dinasyddion trwyddo, ac y byddo i'w sefydliadau sylfaenedig ar wirionedd gael eu tragywyddol barhau.

Deisyfaf, gan hyny, ar foneddigion anrhydeddus i'm gwrando yn amyneddgar. Yr oedd Abraham, cyfaill Duw, yn byw yn Asia tua phedwar cant o flynyddau cyn yr ysgrifenwyd cyfraith Moses ar y llechau cerrig, neu y taranwyd hwynt o Fynydd Siniai.

I'r dyn hwn rhoddodd Duw gyfreithiau, gorchymynion, deddfau, a barnedigaethau mewn cyfammod tragywyddol. Dywed wrtho, Genesis 12fed, ad.2il, "A mi a'th wnaf yn genhedlaeth fawr, ac a'th fendithiaf, mawrygaf hefyd dy enw; a thi a fyddi yn fendith. Bendithiaf hefyd dy fendithwyr, a'th felldithwyr a felldigaf: a holl deuluoedd y ddaear a fendithir ynot ti."

Ac etto, Genesis 17. ad. 1—8. "A phan oedd Abram onid un mlwydd cant, yr ymddangosodd yr Arglwydd i Abram, ac a ddywedodd wrtho, Myfi yw Duw hollalluog, rhodia ger fy mron i, a bydd berffaith, a mi a wnaf fy nghyfammod rhyngof a thi, ac a'th amlhâf di yn aml iawn, Yna y syrthiodd Abram ar ei wyneb; a llefarodd Duw wrtho ef, gan ddywedyd, Myfi, wele, mi a wnaf fy nghyfammod â thi, a thi a fyddi yn dad llawer o genhedloedd. A'th enw ni elwir mwy Abram, onid dy enw fydd Abraham; canys yn dad llawer o genedloedd y'th wnaethym. A mi a'th wnaf yn ffrwythlawn iawn, ac a wnaf genhedloedd o honot ti, a brenhinoedd a ddaw allan o honot ti. Gadarnhâf hefyd fy nghyfammod rhyngof â thi, ac â'th had ar dy ol di, trwy eu hoesoedd, yn gyfammod tragywyddol, i fod yn Dduw i ti, ac i'th had ar dy ol di. A mi a roddaf i ti, ac i'th had ar dy ol di, wlad dy ymdaith, sef holl wlad Canaan, yn etifeddiaeth dragywyddol; a mi a fyddaf yn Dduw iddynt."

Yn yr addewidion a nodir, y mae yn eglur fod cyfammod tragywyddol, yn cyffwrdd ag amlhâd ein rhywiogaeth, llywodraeth-wneuthuriad, neu gyfodiad teuluoedd a chenedloedd, a'u mawr lwyddiant a'u cynnydd: cyfammod tragywyddol ac anghyfnewidiol, yn mha un y bendithid yr holl genhedloedd, os bendithiwyd hwynt erioed.

Mewn cyssylltiad â'r cyfammod hwn y mae genym reswm i gredu y dadguddiai Duw gyfreithiau, gorchymynion, a sefydl-

iadau a gynnyrchent y cynnydd mwyaf sy'n ddichonadwy o hiliogaeth a fo yn ddoeth, iachus, a rhinweddol.

Yn yr enghreifftiau sydd ar hanes ynghylch Abraham a'i hiliogaeth, amlygir dwy egwyddor sydd yn wasanaethyddol er dwyn y dybenion hyn oddiamgylch, sef,—

Yn gyntaf ; amledd o wragedd—

Yn ail ; Gwaharddiad hollol o bob cyssylltiad rhywiogaethol, oddieithr ar yr egwyddor o briodas: toriad o'r hwn a ystyrid yn drosedd marwol a gospid â marwolaeth. Diwallodd Duw Abraham â Sarah, Hagar, Keturah, ac amryw wragedd ererill sydd heb eu henwi. Trwy y moddion hyn efe a ddaeth yn dad cenedloedd lawer, ac fel hyn yr amlhäwyd ei had yn aml iawn.

Roddodd Duw hefyd i Jacob, ŵyr Abraham, bedair o wragedd: sef, Leah, Rachel, Billah, a Zilpha; trwy ba rhai y daeth yn dad i ddeuddeg llwyth. Y mae hanes y pethau hyn mor amlwg yn llyfr Genesis fel nâd oes achos i ni gyfeirio at y bennod a'r adnod.

Yn awr, ar ol i Abraham gael yr holl wragedd hyn, a chyfodi plant drwyddynt, tystiodd yr Arglwydd, Genesis 26,5., gan ddywedyd:—'Gwrandawodd Abraham ar fy llais, a chadwodd fy nghadwriaeth, fy ngorchymynion, fy neddfau, a'm cyfreithiau" Yma, ynte, cawn arbrofiad o ddyn yn byw bedwar cant o flynyddau cyn y rhoddwyd cyfraith Moses, yn cuel deddfau gorchymynion, a chyfreithiau gan Dduw; a chadwodd hwynt.

Y mae yn eglur fod y cyfreithiau hyn yn cynnwys amlwreigiaeth, oddiwrth y ffaith iddo ef eu cael hwynt, fel yn foddion i gario allan yr addewid o amlhâd aml iawn. Yma ynte, sefydlir y mater yn ddiddadl dros fyth, fod aml-wreigiaeth yn gynnwysedig yn yr o dinhad o briodas ac yn nghyfammod tragywyddol a chyfreithiau Duw: a'i fod, dan rheolau iawn, yn sefydliad santaidd, cyfiawn, rhinweddol, pur, ac, yngholwg Duw, wedi ei sicr amcanu i fendithio, cadw, ac amlhau cenedl.

Felly y mae cyfreithiau rhai o'n taleithiau a ddaliant amlwreigiaeth yn drosedd ar unwaith yn anysgrythyrol ac anghyfreithlon, yn ogystal ag yn anfoesol. Deil y gyfraith wladol yn Lloegr ac yn yr Unol Daleithiau fod y Beibl yn wir sylfaen pob deddf-wybodaeth at reoleiddio ein moesau ac i gospi troseddiadau yn ei hol; ac fe ganiatâ ffurf-lywodraeth yr Unol Daleithiau, ac eiddo pob talaeth yn y man lleiaf y rhyddid o

gydwybod oleu yn sylfaenedig ar ddeddf foesol Duw fel ei ceir yn y llyfr santaidd hwnw. Felly, pe byddai i berson, neu gyfundeb o bobl mewn ffydd gydwybodol reoleiddio eu priodasau wrth gyfreithiau Duw fel eu rhoddwyd gan Dduw i Abraham, ni eill un gyfraith wladol eu niweidio, tra mae y llysoedd yn rhwym o aros wrth yr hawl-fraint santaidd a chyssegredig hono o eiddo y ffurf lywodraeth: sef, "Rhyddid Cydwybod."

Wedi sefydlu y ffaith fod cyfammod tragywyddol wedi cael ei wneuthur gyda Abram a'i had, yn cynnwys aml-brioaas, a rhai cyfreithiau a fwriadwyd i amlhau a bendithio cenedloedd lawer, ac i fod yn fendith i holl deuluoedd y ddaear, ymofynwn yn awr am y cosp-ddeddfau mewn cyssylltiad â moesoldeb neu ymdrafodaeth y rhywiogaethau.

Y cyfeiriad cyntaf at y pwnc yma y sylwn arno sydd yn Genesis pennod 20, fel y canlyn,—"Ac Abraham a aeth oddiyno i dir y deheu, ac a gyfaneddodd rhwng Cades a Sur, ac a ymdeithiodd yn Gerar. A dywedodd Abraham am Sarah ei wraig, Fy Chwaer yw hi: ac Abimelech brenhin Gerar a anfonodd ac a gymmerth Sarah. Yna y daeth Duw at Abimelech noswaith, mewn breuddwyd, ac a ddywedodd wrtho, Wele dyn marw wyt ti am y wraig a gymmeraist, a hithau yn berchen gŵr. Ond Abimelech ni nesasai atti hi: ac efe a ddywedodd, Arglwydd, a leddi di genedl gyfiawn hefyd? Oni ddywedodd efe wrthyf fi, Fy chwaer yw hi? a hithau hefyd ei hun a ddywedodd, Fy mhrawd yw efe: yn mherffeithrwydd fy nghalon, ac yn nglendid fy nwylaw y gwnaethym hyn. Yna y dywedodd Duw wrtho ef, mewn breuddwyd, Minnau a wn mai ym mherffeithrwydd dy galon, y gwnaethost hyn; a mi a'th atteliais rhag pechu i'm herbyn: am hyny ni adewais i ti gyffwrdd â hi. Yn awr, gan hyny, dod y wraig drachefn i'r gwr; oherwydd prophwyd yw efe, ac efe a weddïa trosot, a byddi fyw: ond oni roddi hi drachefn, gwybydd y byddi farw yn ddiau, ti a'r rhai oll ydynt eiddot ti." Yma cawn gyfraith Duw wedi cael ei dadguddio o'i enau Ef ei hun, tua phedwar cant o flynyddau cyn y rhoddwyd cyfraith Moses; yn gwneuthur marwolaeth yn gosp am odineb.

Yr oedd y gosp-ddeddf hon yute, yn rhan a chyfran o'r cyfreithiau, y deddfau a'r cyfammodau o dan ba rai yr oedd Abraham a'i gymmydogion yn byw, ac fe ymddengys fel pe y

byddai yn hen gyfraith gyffredinol a drosglwyddwyd i waered gan y tadau., o'r hon nid oedd Abimelech yn anwybodus. Ni phlediodd ei anwybodaeth o'r gyfraith, ond diniweidrwydd ei fwriadau, a'i anwybodaeth o'r gwir amgylchiadau.

Etto, yn Genesis 24, ceir enghraifft o'r weithred o odineb yn cael ei chyflawni gan Sichem mab Hemor yr Hefiad, tywysog y wlad, gyda Dinah merch Jacob, ŵyr Abraham, a pha fodd ei cospwyd. Aeth dau o feibion Jacob, Simeon a Lefi, ac â'u cleddyfau lladdasant y godinebwr hwn, a'r holl ddynion o'i amgylch, a fuont yn gynnorthwyol i dreisio eu chwaer, neu a ymfoddlonasant i, ac a ganiatasant hyny, a chymmerasant eu heiddo yn yspail. Gallasant yn yr achos yma fod wedi myned tuhwnt i derfynau y gyfraith, er hyny i gyd arddangosa yr attgasrwydd oedd gan y meibion hyn o lân ac aml-briodas at y trosedd o odineb.

Ymofynwn yn awr pa un a wnaeth cyfraith Moses, neu yr Efengyl erioed gyfnewid cyfammod Abraham, neu ddiddymu cyfraith priodas, neu y gosp o farwolaeth a osodid wrth odineb a phuteindra.

I'r dyben hyn olrheiniwn y pwnc yma i waered trwy y gwahanol oesoedd a'r goruchwyliaethau, gan ddwyn ychydig allan o lawer o enghreifftiau yn darlunio y pwnc.

Ond yn gyntaf cymmerwn dystiolaeth bendant yr Apostol Paul, a geir yn Galatiaid, y 3ydd bennod, a'r 14 a'r 18fed o adnodau yn gynnwysedig, y rhai a ddarllenir fel y canlyn—"Fel y delai bendith Abraham ar y cenhedloedd, trwy Grist Iesu; fel y derbyniem addewid yr yspryd trwy ffydd.

"Y brodyr, dywedyd yr wyf ar wedd ddynol: Cyd na byddo ond ammod dyn, wedi y cadarnhâer, nid yw neb yn ei ddirymu, neu yn rhoddi atto. I Abraham y gwnaethpwyd yr addewidion, ac i'w had ef. Nid yw yn dywedyd, Ac i'w hadau, megis am lawer; ond megis am un, Ac i'th had di, yr hwn yw Crist. A hyn yr wyf yn ei ddywedyd, am yr ammod a gadarnhäwyd o'r blaen gan Dduw yng Nghrist, nad yw y ddeddf oedd bedwar cant a deg ar ugain o flynyddoedd wedi, yn ei ddirymu, i wneuthur yr addewid yn ofer, Canys os o'r ddeddf (Moses) y mae yr etifeddiaeth, nid yw hayach o'r addewid: ond Duw a'i rhad-roddodd i Abraham trwy addewid.

*(I'w barhau.)*

## AGORIAD "CAPEL Y SAINT," ABERAFAN.

MR GOL.—Mae yn llawenydd genyf allu eich hysbysu ein bod, trwy fendith Duw ac offerynoliaeth y Llywydd Thomas Harris, wedi cael lle cyfleus i gynnal ein cyfarfodydd yn nhref Aberafan, sef mewn Capel a berthynai yn ddiweddar i'r Wesleyaid, perchenog yr hwn yw John Richards, Ysw., o'r Court. Wedi i elynion y gwirionedd glywed fod y Saint wedi cymmeryd y Capel, aethant ac ymdrechasant ddylanwadu ar y boneddwr i beidio a'i roddi i'r Saint beth benag. Ond bu eu holl ymdrechiadau yn ofer.

Gwnaethom agor y Capel ar y 18fed o Fai, pryd y cawsom weled caredigrwydd ein brodyr a'u chwiorydd o'r Cangenau amgylchynol trwy dalu ymweliad â ni ar yr achlysur. Fe logodd rhai o Saint Abertawy gerbyd i ddyfod yma, o herwydd nad oedd yr ager-gerbyd yn ateb i'r amser, ac anturiaf ddweyd na chawsant eu siomi, am iddynt gael pregethau rhagorol gan y brodyr a gymmerasant ran yn ngwaith cyhoeddus y dydd.

Yn y boreu dechreuwyd trwy ganu a gweddio, a phregethodd yr Henuriaid John Davies, gynt o Machynlleth; a Joseph Tuckfield, Abertawy. Yn y prydnawn pregethodd yr Henuriaid William Lewis, Abertawy; David Rees, diweddar Weinidog y Bedyddwyr yn Aberamman; a'r Llywydd B. Ashby o Ddinas y Llyn Halen. Yn yr hwyr pregethodd yr Henuriaid John Davies, Joseph Tuckfield, a Thomas Harris, Llywydd y Gynnadledd, a therfynodd waith y dydd. Yr oedd yno lawer o wrandawwyr yn gwrandaw yn astud a boneddigaidd. Dywedaf i'r brodyr bregethu yn gampus ac adeiladol, a'm gweddi yw ar i'r Hwn a bia'r gwaith i goroni eu llafur â llwyddiant. A chan, fel y dywedai y Br. Tuckfield yn ei destun, mai "Heddyw y daeth iachawdwriaeth i'r tŷ hwn," hyderaf y bydd diwydrwydd a duwioldeb y Saint yma yn gyfryw ag a fyddo yn deilwng o'u crefydd, ac yna nid hir y bydd "Capel y Saint" heb ei orlenwi â Saint ffyddlawn.

Hyn yw dymuniad a phenderfyniad eich cydwas.

EMRYS DAVIES.

O.Y.—Dymunem hysbysu y Saint yn y Gynnadledd hon mai ein penaf hyfrydwch fydd talu ymweliad â hwythau ar y cyffelyb amgylchiad.—Emrys Davies.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

DYDD SADWRN, MEHEFIN 7, 1856.

At y Saint.—Frodyr a Chwiorydd,—Mae hir-nos dywyll traddodiad wedi cerdded yn mhell—y gwirionedd wedi ei ddadguddio yn ei symlder a'i burdeb dechreuol, fel seren ddydd y terfyngylch, nes y mae gwawl y dydd yn ymagor, a'i oleuni pelydrawl wedi ymledu, i raddau pell, dros derfynau caddugawl y bydyssawd, a buan y bydd gwybodaeth o Dduw wedi llanw y ddaear fel yr amdöa y dyfroedd y môr. Mae yr Arglwydd wedi gweled yn dda i anfon ei Angel Santaidd er adferyd yn ol yr efengyl dragywyddol yn nghyflawnder ei bendithion megys cynt, i gasglu defaid crwydredig Israel i'r un gorlan, ac i adfer iddynt y "ffydd hono a roddwyd unwaith i'r saint." ac i anfon allan ei weision yn y dyddiau diweddaf hyn gyda chenadwri bwrpasol i holl genedloedd y ddaear, mewn trefn i barotoi yr oll a wrandawant i Ail ddyfodiad y Messiah, yr hwn sydd yn awr wrth y drws.

Mae'r gwaith mawreddog hwn wedi ei ymddiried i ni, anwyl Saint; nis gallwn ei gyflawni yn ein nerth ein hunain—mae yn rhaid cael nerth a bywyd oddiwrth Dduw, a chyn cael hyny mae yn rhaid i'r nefoedd weled teilyngdod ynom. Dichon fod rhai yn meddwl ac yn ymfoddloni ar gael aelodiaeth yn eglwys Dduw, a chael gwybodaeth mai dyma'r grefydd iawn, heb wneyd dim yn rhagor, ond yr hyn a welant hwy fod yn dda. Dywedwn wrth y cyfryw,—mai nid ar hyny yn unig y bydd byw dyn, ac mai nid ar hyny yn unig y caiff neb ddigon o nerth i wneyd ei ran yn ngwaith mawr y dyddiau diweddaf, ond mai trwy wrandaw ar, ac ufyddhau i "bob gair a ddaw allan o enau Duw." Saint anwyl, a ydym yn ystyried hyn? Ydym, medd pawb. Ond, mewn rhai manau, mae ffrwythau yn profi yn groes. Mae Duw wedi ac yn dadguddio yn yr oes

hon bethau newydd a hen, ac yn gorchymyn i'w weision i'w trosglwyddo i'w bobl. A ydym ni, anwyl Saint, yn derbyn pob egwyddor a ddysgir i ni drwy y drosglwyddfa briodol gan weision Duw. Os cawn ein hunain yn ymgecru a gwrthwynebu y cyfryw fesurau ac egwyddorion, cofiwn ein bod yn gwneyd hyny â "geiriau Duw," ac ein bod ar y ffordd i fyned i ddiystyru gorchymynion Duw trwy ein traddodiad a'n dychymmygion ein hunain.

Mae cymmaint ag sydd o 'eiriau Duw' genym ni wedi dyfod trwy ei weision, ac y mae 'geiriau Duw' trwy ei weision yn awr mor bwysig i ni ag oedd eiddo y cyn weision i'r saint gynt, ac y mae yr un mor anghenrheidiol i 'wrandaw ar bob gair' yn awr ag oedd gynt, canys Duw sydd yn deisyf arnom trwyddynt hwy. Dywed Solomon,—"Holl air Duw sydd bur; tarian yw efe i'r neb a ymddiriedant ynddo." Os ymddiriedwn yn ngair Duw trwy ei weision, nyni a lwyddwn. Mae Duw yn eiddigeddus dros ei air; Efe a orchymynodd gynt i lwyr dorri ymaith yr hwn hyd y nod a ddiystyrai ei air Ef. O herwydd i blant Israel wrthwynebu gair yr Arglwydd trwy Moses y digiodd y Duw mawr, ac a dyngodd, gan ddywedyd—"Diau na chaiff yr un o'r dynion hyn, o'r genedlaeth ddrwg hon, weled y wlad dda yr hon y tyngais ar ei rhoddi i'ch tadau chwi." Byddai yn dda i ni fel Saint i ystyried hyn, a chofio na syrth dim o'i eiriau Ef i'r ddaear, ac nad yw aelodiaeth yn yr eglwys heb ufydd-dod i bob gair ond fel arogldarth heb waed, neu duser heb aberth. Yr hwn a dderbynia yr awgrymiadau hyn a gaiff ei adgyfnerthu yn nerth Duw, a'i air Ef fydd yn darian iddo, pan y bydd yr hwn a ddiystyro air Duw a'i ddwylin yn curo, a phob cymmal o'i gorff yn crynu, pan y tŷr rhwymyn aur ei liniau gan rymusder ei ingoedd, o herwydd gwrthod gwrandaw ar lais Duw trwy ei weision, a gostwng ei glust i'w dysgeidiaeth.

---

## LLYTHYR O'R DYFFRYN

*D. Ll. Mawr, Tachwedd* 30, 1855.

Fy anwyl Berthynasau,—Ysgrifenaf y chwechfed waith yma atoch, gan hyderu y caf atebiad eich bod yn iach, ac yn mwynhau eich cysuron arferol, ac ychwaneg hefyd. Yn awr, roddaf

ychydig o'm hanes i chwi. Tebygaf eich bod wedi clywed cynnifer o ystoriau am danom hyd nes yr ydych wedi penderfynu na chewch fy ngweled na chlywed oddiwrthyf byth mwy. Diolch i'r Duw hwnw â'm cadwodd, yr wyf yn fyw, ac yn fwy iach nac y bum i erioed. Yn fy llythyron blaenorol cawsoch fy hanes dros y môr a'r afonydd hyd Mormon Grove, lle yr arosais am chwech wythnos cyn cychwyn dros y Plains Gorphenaf 28ain cychwynasom dan lywyddiaeth yr Henuriaid C. E. Harper, Thomas Jeremy ac eraill, Ya oedd ganddynt ofal 43 o wageni, ac yn agos i 500 o bobl. Croesasom diroedd a dyfroedd yn llwyddiannus iawn oddieithr ar ambell dro pan y byddai wagen a'i phen isaf yn uchaf, oherwydd lledchwithdod a difaterwch rhai yn mhlith cynnifer math o'r *drivers.* Mi gefais i y fraint o fyned a'r wagen ag oedd dan fy ngofal i yn ddianffawd i ben y daith, am yr hyn cefais anrheg o ddryll ag sydd yn werth o dair i bedair punt.

Ar ein taith gwelasom lawer o Buffalos; lladdasom un. Gwelsom lawer o Indiaid; yr oeddynt oll yn ffafriol iawn i ni; yr oeddynt wedi newydd cael brwydr gyda milwyr yr Unol Daleithiau, pan y lladdwyd rhai o bob ochr.

Yn nesaf, roddaf ychydig o hanes y lle hwn. Ar y 29ain o Hydref daethom i olwg ac i mewn i'r ddinas hon. Llanwodd fy ngalon gan syndod wrth weled ardderchawgrwydd y lle wedi cael ei wneuthur mewn cyn lleied o amser. Mae y ddinas gymmaint a thref Abertawy, ac yn cynnwys miloedd o bobl. Mae gwahaniaeth mawr rhwng y lle hwn a threfydd Cymry a Lloegr, gan nad oes yma ond un "tafarn" [*Commercial Hotel*] yn yr holl ddinas!, a neb [ond teithwyr &c.]yn gwneuthur fawr sylw o hwnw; mae pob un yn ddiwyd wrth ei waith, a'i fryd âr addoli ei Dduw mewn sobrwydd, ac adeiladu ei hun. Nid yw y gyfraith yn caethiwo neb ychwaith rhag yfed diod &c.,—mae pob un yn rhydd ewyllysiwr yn hyn, ac yn gyfrifol i Dduw am ei waith. Dyn sobr, geirwyr, gonest a gweithgar yw y dyn a berchir yma,—nid arian sydd yn dyrchafu dyn yma, ond rhinweddau. Yr hwn nid yw yn parchu ei hun ni pharcha arall, a ffarwel i arall ei barchu yntau. Mae pawb sydd wedi bod yn ddiwyd yma am ddwy neu dair mlynedd yn byw yn gysurus iawn mewn tai heirdd, [o'u heiddo eu hunain.] a chanddynt gyflawnder o bob math o ymborth, ac anifeiliaid lawer. Mae

gan Sam Ty Llwyd 2 o geffylau, 4 o ychain, 8 buwch, lloi bach a moch hefyd. Mae gan Neli gynt o Esgerhir 6 buwch 8 ceffyl 4 o foch a 6 llo bach, ac y mae hi wedi priodi, ac yn byw yn ei thŷ ei hun, a'chanddi gyflawnder o fwyd. Mae Daniel yn byw yn y gogledd, ac yn berchen ar dda, ceffylau, &c. Rhy faith yw enwi golud Seion,—mewn gair, mae yma le i bawb fyw yn ddedwydd heb fod yn nyled neb, ond Duw ei hun, o ddim. Yr ydwyf wedi bod yn y Tabernacl ddwywaith. Y mae yn lle hardd, yn cynnwys o dair i bedair mil o bobl, ac fe all pob un glywed y pregethwr yn llefaru. Gwelais a chlywais y Prophwyd Brigham Young. Dyn hardd yr olwg arno ydyw, a chanddo ddylanwad mawr, ac y mae yn llefaru fel un ag awdurdod. Pawb a wrandawant arno a fyddant byw. Er mae efe yw y dyn penaf yma, etto cyfaddefa yr annuwiol ei ostyngeiddrwydd,—ymddarostynga i fod yn was i bawb, gan eu rhybuddio am y drwg a'r da cyn ei ddyfod, a phrawfiadau o hyny sydd wedi creu cymmaint o ymddiried ynddo.

Dywedaf air am y ffarmwyr yma. Mwynhant ffrwythlondeb gymmaint o dir y dyffryn hardd hwn a allant ei wrteithio Codant wenith ac india corn ar eu canfed, a phob math o ffrwythau braidd yn rhy aml i'w henwi. Mae yr olwg arnynt yn ddigon i lanw calon dyn â syndod wrth feddwl am yr holl drugareddau a ddyry ddernyn bychan o dir. Llanwir tai preswylwyr Seion â lluniaeth. Talant y degwm o'r oll a feddant, ond nid tuag at leshad personol neb; eithr at ofyniadau cyffredinol yr Eglwys, [megys adeiladu y deml, &c.] Mae y tir goreu sydd agosaf i'r ddinas wedi cael ei gymmeryd. Roddir tir allan y flwyddyn nesaf etto o fewn i 6 neu 7 milldir i'r ddinas: roddais fy enw am 30 cyfer yn y lle hwnw, gan nad yw yn rhy bell i mi allu dyfod bob dydd Sadwrn i'r farchnad, lle y gallwn werthu ein hymenyn am 10c., a'n caws am 4c. y pwys; ein gwenith am 8s. y bwshel, cig moch am 6 neu 7c., a'n cig eidion o 4 i 6c. y pwys. Gallwn dalu rhan o'n degwm am y tir hwn trwy weithio arno er cael dwfr ar hyd iddo. Nid yw yw hyny yn lawer, gan fod gwahaniaeth mawr yn nhrisoedd y tiroedd yma ac yna. Mae genych chwi yna dalu heblaw y degwm [sydd at bwrpas mor wahanol!] y dreth dylodi, y dreth ffordd, y dreth fawr, yr *Income Tax*, &c., a thrannoeth feallai y bydd rhaid talu y rent, —pethau nad ydynt i'w cael yma. Yn

ngwyneb y manteision sydd yma i fyw, yr wyf yn meddwl y gallaf innau feddiannu peth cyfoeth heb fod yn faith. Yr wyf yn gweithio yn bresennol ar ffarm, ac yn cael 4s. y dydd o gyflog, heblaw fy mwyd. Ceir 8s. y dydd gyda bwyd. Ennilla grefftwyr 12s. y dydd Pe buasai Thomas fy mrawdynghyfraith yn gweithio yma yn awr, ennillasai o 12 i 15s. y dydd. Mae yma le i Dafydd fy mrawd i ennill o £1 i £1 5s. am wneuthur cot, ac fe wna yn well wrth ffarmio. Cyflog morwynion yw o £15 i £20 y flwyddyn a ddim yn cael gweithio allan. * * *

Ewyllysiwn yn fawr i weled pawb o'm ffryndiau yma; ond neb yn fwy na chwi, wrth gwrs. Na ofalwch o'm plegid i canys yr wyf yn iach ac wrth fy modd. Ni welais eisieu pryd o fwyd oddiar pan adewais Esger-rhŷdd. Derbyniwyd fi yn roesawus gan Mrs. M. Daniels: bum yno yn cysgu ac yn cael bwyd,—pan yr oeddwn heb waith bu yn dda iawn wrthyf. Byddwch chwithau yn serchus wrth y Brawd Daniels, a chofiwch fi ato yn fawr, Bu y Brawd Jeremy yn dda neillduol wrthyf, ynghyd a Sam tŷ llwyd ac Ann.

Cofiwch fi at bawb o'r Saint a'm cydnabod. [Enwa rhestr.] Daeth yr holl Gymru dros y plains yn ddiangol, oddieithr un, ef plentyn i Dafydd Williams.

D. F. Thomas.

---

## CYMMANFA CAERFYRDDIN.

Fe gynnaliwyd y Gymmanfa hon yn y dref uchod ar y 25ain o Fai. Wedi dechreu fel arferol, galwodd y Llywydd ar Lywyddion y Cangenau i roddi ansawdd y cangenau, ynghyd â'r argoelion sydd yn eu plith. Tystiodd yr oll fod y gwaith ar ei gynnydd, a bod yr oll yn gwneyd eu goreu i'w gario yn y blaen. Pregethant yn y tai ac allan o'r tai ar bob cyfleusdra a gaffont.

Cymmeradwywyd holl awdurdodau yr Eglwys yn y cariad gwresocaf, gan gydnabod ei fod yn fraint iddynt gael dangos eu boddlonrwydd a'u pleser o wneuthur felly.

Dengys y Cynnrhychioliad fod 44 wedi ymfudo, a 8 wedi cael eu bedyddio yn y chwarter mynedol, ac fod cyfanrif o 90.

Neillduwyd yr Henuriaid Evan Morgans yn Gynghorydd blaenaf yn Lywyddiaeth y Gynnadledd, Dafydd Evans yn

Drysorydd i arian y D. Y. Barhaus a'r Deml, a Hugh James ac Isaac Jones yn Arolygwyr y Ddosparthiaeth lyfrau.

Rhoddwyd adlysgiadau bud liol a llesiol gan y Llywyddion Daniels, Evans, ac Ashby, a'r Henuriaid D. Davies, Llanelli, T. Jones, Aberystwyth, D. Evans, Talog, ac amrai ereill.

Caredigrwydd Saint y dref i'n ymwelwyr oedd tuhwnt i'm dysgwyliad, diolch iddynt o'm calon. Tystiodd y Saint mai dyma y Gymanfa oreu etto.

WM. JONES, Llywydd.

---

## HIRAETH AM SEION.

(TÔN—"*Sweet Home.*")

YN hir bu'm yn Babel yn boddio fy mryd,
Lle dysgais trwy brofiad rai troion o'r byd,
Lle cerais gyfeillion a cheraint yn ddel,
'Rwyf 'nawr am y cyfan am roddi ffarwel.
Fy nhref, O fy nhref,
Mewn hiraeth wyf beunydd am Seion fy nhref.

Er cymmaint gogoniant a mawredd y byd,
Y tlodion ddirwasgir i'w gynnal i gyd;
Y mawrion ormeswyr farchogant y gwan,
Er cynnal rhwysgfawredd anghyfiawn i'r lan.
Fy nhref, O fy nhref, &c.

Mae'r ddaear yn gruddfan dan lwythi fel hyn,
Ai rhyfedd 'mod innau a'm dagrau yn llyn?
'Rwy'n byw mewn caethiwed a beunydd dan bwn,
O pwy dry'n waredydd i mi o dan hwn?
Fy nhref, O fy nhref, &c.

Hawdd darllen fy hiraeth wrth weled fy ngwawr,
Nis gallwn pe ceisiwn ei gelu yn awr;
Fy holl gyfansoddiad a dystia yn brudd,
Fod hiraeth am Seion ar gynnydd bob dydd.
Fy nhref, O fy nhref, &c.

Y galon na theimlodd ond dewrder erio'd.
Yn awr gyfnewidiwyd —Ow! troiodd y rhôd.

Y teimlad fu gynt yn ddifater a ddaeth,
Mewn hiraeth beunyddiol am Seion yn gaeth,
Fy nhref, O fy nhref, &c.

Rho'f heibio, rho'f heibio hiraethu yn hwy,
Gan na welaf argoel am welliant i'm clwy'.
Nis gallaf ymgynnal dan hiraeth mor fawr,
Can's hiraeth am Seion a'm llethodd i,r llawr!
Fy nhref, O fy nhref, &c.

Ust! beth yw y sibrwd a glywaf yn awr?
O, Seion ar ddychlam —fe dorodd y wawr.
Clywch! clywch y gorchymyn—Ymgasglwch i dre',
'Rwyf etto'n gobeithio am fyned i'r lle.
Fy nhref, O fy nhref, &c.

Mae llinyn dirgelaidd na theimlodd y byd,
Yn dirwyn fy nghalon i Seion o hyd;
Hyderaf gyfeillion na ro'wch arnaf fai,
Mae'm hiraeth am Seion o hyd yn mwyhau.
Fy nhref, O fy nhref, &c.

Erlidia'r gelynion gofleidwyr y gwir,
Y rhai ddyoddefant gamwri trwy'n tir
Mae'r adeg yn nesu, gwynfyd na bae 'nawr,
I mi gael fy ngwared i Seion deg wawr.
Fy nhref, O fy nhref, &c.

Cyfiawnder a heddwch yn Seion deg sydd,
Ac amledd bendithion yn mhlith plant y ffydd,
Gogoniant a mawredd hyfrydawl, wych fyd,
A doethion yr Arglwydd mewn Cynghor ynghyd.
Fy nhref, O fy nhref. &c,

Dacw'r llong wedi hwylio a llu yn ei chôl,
O'r golwg yn mhell 'rwyf yn wylo o'i hol;
Gorlanwer ei hwyliau—hawddammor i'w thaith,
'Rwyf innau yn aros a'm llygaid yn llaith.
Fy nhref, O fy nhref, &c.

Ymdrechwn oll bellach i orphen ein gwaith,
Fel byddom yn deilwng o fyned i'r daith;

A chyrhaedd o ganol hen Fabel a'i haint,
I Deml yr Arglwydd—O am gael y fraint.
Fy nhref, O fy nhref, &c. JOSEPH PROSER.

---

Y GWIRFODDOLIAID.—Y mae amryw o'r brodyr wedi myned allan i'r maes, ac hyderwn yr â chwaneg etto. Y mae yn dda genym fod y brawd Noah Jones yn methu teimlo yn dawel heb ddychwelyd i'r maes etto: rhoddwn le i'w bennillion—

Pa beth, pa beth a glywaf fi?
Llais distaw sydd yn d'wedyd,—
"Mae'n rhaid it' fyned etto 'nol,
'Nawr brysia, gwna ddychwelyd."

Y llais a ddw'ed—"Rhyw liaws sydd
Yn aros mewn tywyllwch,
Gan ddysgwyl clywed am y gwir,
Am hyny ewch a bloeddiwch.

Chwychwi sydd ieuainc yn mhob lle,
Cyfodwch mewn grymusder,
Trwy gymhorth glew yr Ysbryd Glân—
Gwnewch ddangos eich gwrolder." NOAH.

CYMMANFAOEDD Y GOGLEDD.—Cynnelir Cymmanfa Sir Fflint, Mehefin 15fed: Dinbych, 22ain; Dyff. Conway a Môn, 29ain; a Sir Feirionydd, Gorphenaf 6fed.

CYMMANFAOEDD Y DEHEU.—Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg. Mehefin 29ain; Brycheiniog. Gorph. 6fed; Mynwy, 13eg; Gorllewin Morganwg, (yn Nghapel y Saint, Aberafan.) 20fed: Llanelli, 27ain; Caerfyrddin, Awst 3ydd; Penfro, 10fed, a Sir Aberteifi, ar yr 17eg.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MAI 24 HYD MEHEFIN 5.—E. Morgans, 7s 3c; J. Jones, 10s; W. Jones, 10s 6; T. Rees, 3s.

☞ Daeth hanes Cymmanfa Llanelli i law pan yn rhy ddiweddar i'r rhifyn hwn. Anfon pob peth yn ei bryd sydd oreu.

☞ Daeth ysgrif yr Henuriad Wm. F. Williams, Alltwen, i law, a chaiff ymddangos yn ein nesaf.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS.

// UDGORN SEION.

NEU

**Seren y Saint.**

RHIF. 13.] MEHEFIN 21, 1856. [CYF. IX.

## PRIODAS A MOESAU YN UTAH.

*Parhad o tud.* 183.

Etto, yn adnod 29, (Gal. 3ydd,) dywed Paul wrth y Cenedl-oedd—"Os eiddo Crist ydych, yna hâd Abraham ydych, ac ettifeddion yn ol yr addewid." Yma cawn y dystiolaeth fwyaf bendant yn y Testament Newydd, fod y cyfammod a'r addewid a wnaed i Abraham wedi cael eu bwriadu i fod dros bob amser, ac i'r Cenedloedd crediniol, a phob pobl gwir Gristionogion; ac eu bod ar wahan yn hollol oddiwrth gyfraith Moses, ac na ddirymwyd na chyfnewidiwyd hwynt gan Moses na Christ. O ganlyniad haerwn fod cyfraith aml-briodas, a marwolaeth yn gosp am odineb a phuteindra wedi bod mewn grym trwy bob amser, a thrwy bob goruchwyliaeth, o amser Abraham hyd yr presennol, ac y dylasai wrth iawn fod mewn grym yn mhlith pob cenedl wir gristionogol: y byddai i weinyddiad o'r cyf-reithiau hyn mewn cyfiawnder fawr amlhau a bendithio cenedl; ac y byddai i'r toriad neu y cyfnewidiad o honynt lygru y byd, ac halogi y ddaear ei hun â ffieidd-dra.

Eithr deuwn yn awr at enghreifftiau hanesyddol. Yn adnod 25 o Numeri cawn hanes am Zimri, tywysog yn Israel, yr hwn a odinebodd gyda Cozbi, merch Sur, tywysog Midian-aidd; a pha fodd y cymmerodd Phineas, ŵyr Aaron, yr offeir-iad, wayw-ffon ac a'u gwanodd hwynt ill dau trwy eu cyrph, ac

a'u lladdasant; a pha fodd yr attaliodd yr Arglwydd y plâ, o herwydd y weithred hono; ac a wobrwyodd Phineas â chyfammod tragywyddol o Offeiriadaeth, am ei sêl yn cospi y trosedd o buteindra fel hyny.

Dylem gofio hefyd mai Moses, yr hwn oedd yn aml-wreigiwr ei hunan, mewn ymarferiad ac fel cyfreithiwr, oedd y Prophwyd a'r deddf-roddwr o dan weinyddiad yr hwn y cospwyd y trosedd hwn mor arw.

Yn llyfr cyntaf Samuel, a'r bennod gyntaf, cawn hanes am Elkanah, a'i ddwy wraig, Hannah a Peninah; ac am Samuel, mab yr aml-wreigiwr hwn, yr hwn oedd yn blentyn addawedig, wedi cael ei gyssegru i wasanaeth Duw, a'i ddwyn i fyny yn y deml santaidd. I'r plentyn hwn daeth gair yr Arglwydd yn erbyn tŷ Eli yr Offeiriad, gan ddywedyd, (1 Samuel, pen 3, ad. 11—14.) "Wele fi yn gwneuthur peth yn Israel, yr hwn pwy bynnag a'i clywo, fe a ferwina ei ddwy glust ef. Yn y dydd hwnw y dygaf i ben yn erbyn Eli yr hyn oll a ddywedais am ei dŷ ef, gan ddechreu a diweddu ar unwaith. Mynegais hefyd iddo ef, y barnwn ei dŷ ef yn dragywydd, am yr anwiredd a ŵyr efe; o herwydd i'w feibion haeddu iddynt felldith, ac nas gwaharddodd efe iddynt. Ac am hyny y tyngais wrth dŷ Eli, na wneir iawn am anwiredd tŷ Eli ag aberth, nac â bwyd-offrwm byth."

Ymddengys yma fod rhai pechodau na lanhâai ordinhadau maddeuant mo honynt byth. Tyngodd Duw na roddai nag aberth na bwyd offrwm iawn drostynt. Pa bechodau oedd y rhai hyn a gyflawnwyd gan feibion Eli? Ceir yr atebiad yn yr 2il bennod o 1af Samuel. Hwynt hwy, fel Offeiriaid, a yspeiliasant yr aberthau, ac a butteiniasant gyda'r benywod a ddaethant i'r tabernacl; gwnaethant hyn droion, ac ni edifarhaent. Yn y 4ydd bennod o'r un llyfr cawn hanes cyflawniad geiriau y plentyn ieuanc, Samuel. Gwaethygwyd Israel mewn brwydr gyda y Philistiaid; cafodd y ddau Offeiriad, meibion Eli, Hophni a Phineas eu lladd; a chymmerwyd yr arch gyssegredig a ddygent gan y gelyn. Eu tad Eli, pan glywodd y newyddion hyn, a syrthiodd yn ol ac a dorodd ei wddf; a bu farw wraig Phineas pan glywodd yr un newydd. Yma cawn yr arddangosiad amlycaf o fendith Duw ar aml-briodas, ac o'i felldith, a marwolaeth, yn dilyn godineb a phuteindra.

Samuel, mab Elkanah, yr aml-wreigiwr, a fendithiwyd fel Prophwyd santaidd, i gyhoeddi marwolaeth ar odinebwyr.

Yn nesaf sylwn ar achos o odineb a gyflawnwyd gan Dafydd, brenhin Israel, a pha fodd ei gospwyd. 2 Samuel, pen. 12, ad.7 hyd y 14,—"A dywedodd Nathan wrth Ddafydd, Ti yw y gwr Fel hyn y dywed ARGLWYDD DDUW Israel; Myfi a'th enneiniais di yn frenhin ar Israel, myfi hefyd a'th waredais di o law Saul: rhoddais hefyd i ti dŷ dy argiwydd, a gwragedd dy arglwydd yn dy fynwes, a mi a roddais i ti dŷ Israel a Judah; a phe rhy fychan fuasai hyny, myfi a roddaswn i ti fwy o lawer. Paham y dirmygaist air yr ARGLWYDD, i wneuthur drwg yn ei olwg ef? Urïas yr Hethiad a darewais ti â'r cleddyf, a'i wraig ef a gymmeraist i ti yn wraig, a thi a'i lleddaist ef â chleddyf meibion Ammon. Yn awr gan hyny nid ymedy y cleddyf â'th dŷ di byth; o herwydd i ti fy nirmygu i, a chymmeryd gwraig Urïas yr Hethiad i fod yn wraig i ti

"Fel hyn y dywed yr ARGLWYDD; Wele, myfi a godaf i'th erbyn ddrwg o'th dŷ dy hun, a mi a ddygaf dy wragedd di yn ngŵydd dy lygaid, ac a'u rhoddaf hwynt i'th gymmydog, ac efe a orwedd gyda'th wragedd di yngolwg yr haul hwn. Er i ti wneuthur mewn dirgelwch; etto myfi a wnaf y peth hyn ger bron holl Israel, a cher bron yr haul. A dywedodd Dafydd wrth Nathan, Pechais yn erbyn yr ARGLWYDD. A Nathan a ddywedodd wrth Ddafydd, Yr ARGLWYDD hefyd a dynnodd ymaith dy bechod di: ni byddi di marw. Etto o herwydd i ti beri i elynion yr Arglwydd gablu trwy y peth hyn, y plentyn a anwyd i ti a fydd marw yn ddiau."

Yma etto cawn fod marwolaeth yn gosp am odineb; ond yn yr achos yma arbedodd Duw yn ei drugaredd ei fywyd o herwydd mai y trosedd cyntaf oedd, ac am iddo lwyr edifarhau. Ond Efe a'i cospodd ef yn llym yn marwolaeth ei blentyn, a chymmeryd ei wragedd oddiwrtho, a chyhoeddi gwrthryfel a rhyfel yn ei dŷ ei hun.

Yn yr enghraifft yma, fel yn mhob un arall, yr un Duw ag sydd yn cospi godinebwyr gyda'r fath erwineb sydd yn dal o blaid aml-wreigiaeth, ac yn eglur fynegi y ffaith mai Efe ei hun a roddes i fynwes Dafydd wragedd ei arglwydd Saul.

Bydded yr ychydig enghreifftiau hyn yn ddigon i ddangos na chyfnewidiodd Moses na'r Prophwydi y gyfraith briodasol, na'r

cyfreithiau cospedigaethol yn erbyn godineb, &c., fel y bodolant yn y cyfammod tragywyddol a wnaed gyda Abraham.

Ymofynwn yn nesaf pa un a gyfnewidiodd Iesu Grist neu ei Apostolion y cyfreithiau hyn neu eu diddi erioed. Darllena yr 8fed bennod o Ioan, ad. 3—7, fel y canlyn—"A'r ysgrifenyddion a'r Phariseaid a ddygasant atto ef wraig yr hon a ddaliesid mewn godfneb; ac wedi ei gosod hi yn y canol, hwy a ddywedasant wrtho, Athraw, y wraig hon a ddaliwyd ar y weithred yn godinebu. A Moses yn y gyfraith a orchymynodd i ni labyddio y cyfryw: beth gan hyny yr wyt ti yn ei ddywedyd? A hyn a ddywedsant hwy, gan ei demtio ef, fel y gallent ei gyhuddo ef. Eithr yr Iesu, wedi ymgrymmu tua'r llawr, a ysgrifennodd â'i fys ar y ddaear, heb gymmeryd arno eu clywed. Ond fel yr oeddent hwy yn gofyn iddo, efe a ymunionodd, ac a ddywedodd wrthynt, Yr hwn sydd yn ddibechod o honoch, tafled yn gyntaf garreg atti hi."

Ped ewyllysai yr Iesu ddiddymu y rhan yma o'r gyfraith, yr oedd hwnw yn gyfleustra teg iddo ei wneuthur,—amgylchiad cyfatebol i'r pwnc: ond yn hollol groes, fe archodd i'r fenyw gael ei llabyddio yn union: ar yr ammod fod yno un dyn rhinweddol yn mhlith ei holl gyhuddwyr yn ddigon pur ei hunan i weinyddu y gyfraith; eithr gan na cheid un o'r fath yn yr oes ddirywiadol hono, diangodd yn ddigosp; ond fe'i dwys annogwyd i beidio a phechu mwyach.

Etto, 1 Corinthiaid, pennod 5, ad. 5. Yr Apostol Paul pan yn cyfeirio at un yn yr Eglwys a butteiniodd, a annogodd y Saint "i draddodi y fath un i Satan, i ddinystr y cnawd, fel y byddai yr ysbryd yn gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu." Rhaid fod dinystr y cnawd, yn cyfeirio at farwolaeth y corph. gan fod y dyn wedi cyfiawn fforffetio ei fywyd, yn unol a chyfraith Duw. A rhaid fod y dywediad "fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu" yn cyfeirio at ddydd mawr ei ail ddyfodiad; felly yn arddangos fod y puteiniwr dan oleuni yr Efengyl, wedi fforffetio ei fywyd yn y byd hwn, a'i iachawdwriaeth yn y byd a ddaw, am o leiaf ddeunaw cant o flynyddoedd.

Felly, o dan bob goruchwyliaeth, pa un ai yn Batriarchaidd Moseaidd, neu Gristionogol, arddengys fod y gosp a osodid yn erbyn cyssylltiad anghyfreithlon y rhywiogaethau yr un, yn

tarddi oddiar gyfraith sefydledig ac anghyfnewidiol Duw—rhag-ddarpariaeth ddoeth—cerub dysclaer â chleddyf tanllyd fel pe byddai, i amddiffyn ffynnonell lân a chyssegredig neu darddiad bywyd.

Mae yn wir nad yw Iesu Grist na'i Apostolion, mewn cynnifer o'u hysgrifeniadau a drosglwyddwyd i ni, wedi ymdrinnemawr ar amlwreigiaeth weithredol yn eu hoes hwy, oherwydd y goreu o bob rhesymau,—yr oedd Judea y pryd hwnw yn diriogaeth Rhufeinig, o dan gyfreithiau Rhufeinaidd, pa rhai oeddynt yn groes i amlwreigiaeth. Yn herwydd hyn yr oedd yr Inddewon wedi ymddirywio yn mhell; yr oeddynt wedi llygru eu ffordd, a gwyrdroi sefydliadau pur eu tadau mwy rhinweddol. Dyna y rheswm i Ioan Fedyddiwr a Iesu Grist eu ceryddu yn llym, gan eu galw yn genedlaeth ddrwg a godinebus a wnaethant gyfraith Duw yn ofer trwy eu traddodiadau. Ond, un peth sydd yn sicr—fe gymmeradwyodd Iesu Grist a'i Apostolion Abraham, Isaac, a Jacob bob amser, ac fe dystiolaethodd y cyn Brophwydi santaidd i'w rhinwedd a'u ffyddlondeb, gan eu darlunio megis tadau anrhydeddus y ffyddloniaid, ac aelodau neu lywodraethwyr yn nheyrnas Dduw.

Dywed yr Iesu wrth yr Iuddewon ar un achlysur, "Pe hád Abraham fyddech, chwi a wnelech weithredoedd Abraham." Ar dro arall dywed, "Hwy a ddeuant o'r dwyrain, ac o'r gorllewin, ac o'r dehen, ac a eisteddant gydag Abraham, Isaac, a Jacob, yn nheyrnas Dduw;" ond chwychwi a wthir allan.

Annogodd Paul a'r Apostolion y Saint i fod yn gyffelyb i Abraham tad y ffyddloniaid, plant yr hwn oeddynt drwy yr Efengyl; ac os yn blant, yna yn ettifeddion i'r un cyfammodan o addewidion.

Yn awr yr ydym wedi dangos yn barod fod yr addewidion a wnaed i Abraham. i ba rhai yr oedd Saint y Testament Newydd yn ettifeddion, yn cynnwys amldra anghyffredin o blant a thrwy hyny o wragedd, yn offerynau i ddwyn hyn i weithrediad.

Eithr rhag i neb gamsynied ynghylch y rhan yma o'r cyfammod a'r addewidion, y mae Iesu Grist ei hun wedi ei osod tuhwnt i bob dadl. Dywed yn Luc pen. 18, ad. 29 a 30, "Yn wir meddaf i chwi. Nid oes neb ar a adawodd dŷ, neu rhieni, neu frodyr, neu wraig. neu blant, er mwyn teyrnas Dduw, ar nis derbyn lawer cymmaint yn y pryd hwn, ac yn y byd a ddaw

ywyd tragywyddol."

Ha wyr, frodyr a thadau—Profasom yn yr adolygiad yma—

Yn gyntaf; Gyfammod tragywyddol a wnaed gydag Abraham, yn yr hwn y bendithid yr holl genhedloedd.

Yn ail: Fod un o brif nodweddau y cyfammod hwnw yn perthyn i amlhad dirfawr ein rhywiogaeth, ac i gorffoliad, parhad, a thyfiant teuluoedd, cenedloedd, a theyrnasoedd.

Yn drydydd: Fod Duw, y barnwr goreu o'r modd i amlhau, wedi gosod aml-wreigiaeth, i ddynion da a santaidd, megys penaf fodd i amlhau eu had, ac a waharddodd, ar gost marwolaeth, bob ymdrafodaeth rhywiogaethol, oddieithr yr hyn a gydnabyddid gan gyfreithiau santaidd priodas.

Yn bedwarydd: Na chyfnewidiwyd, ac na ddiddymwyd y cyfammod a'r cyfreithiau a berthynent i briodas a diweirdeb, neu gyssylltiad moesol a chyfeillachol y rhywiogaethau, o'r modd eu daliwyd gan Abraham, Isaac, a Jacob, gan na Moses na'r prophwydi, Iesu Grst na'r Apostolion; o ganlyniad, fod y cyfammod hwn, a'r cyfreithiau, cospedigaethau, ac addunedau a berthynant iddo mewn grym o hyd, neu y dylent fod felly.

Yn bummed: Fod yr holl genedloedd i gael eu bendithio yn y cyfammodau a'r sefydliadau hyn; ac fod y cenhedloedd i fod yn gyd-ettifeddion o'r unrhyw trwy yr Efengyl; yn yr hon y daethant yn had Abraham.

Ac, yn chwechfed: Mai troseddu y cyfreithiau santaidd hyn, cyfnewid yr ordinhad hon, neu dorri y cyfammod tragywyddol hwn, yn ol Esaia y Prophwyd, a "halogai y ddaear o dan ei phreswylwyr." Gofynwn yn nesaf: Pwy allu sydd wedi bod yn euog o wneuthur y cyfnewidiadau hyn? "Pwy sydd wedi troseddu y cyfreithiau, cyfnewid yr ordinhad, a thorri y cyfammod tragywydddol?

Cyhuddwn Rhufain o hyn. Hi ydyw y "bedwarydd fwystfil" o weledigaeth Daniel: "Hi lywodraethodd y ddaear megis â gwialen haiarn:" "Hi wnaeth rhyfel â'r Saint ac a'u gorchfygodd hwynt:" Hi gyfnewidiodd gyfreithiau a sefydliadau yr Iuddewon a'r Cristionogion: gan ei swynau y twyllwyd pob cenedl: Hi, mewn gair, ydyw "Dirgelwch, Babilon Fawr, mam puteiniaid, a ffieidd-dra yr holl ddaear." Hawliodd butteindra; eithr gwaharddodd briodi; gan beidio caniatau i'w dinasyddion ond un wraig, ac i amryw o honynt, sef, yr offeiriaid

ddim hyd y nod un.

Y mae pob cenedl a gyfenwir yn Gristionogol, hyd y nod Lloegr Brotestanaidd a'r Taleithiau Americanaidd yn gynnwysedig, wedi glynu wrth yr un dernyn hwn o leiaf o'i ofergoelau a'i ffieidd-dra. Y maent naill ai wedi caniatau neu hawlio buteindra; ac hollol wahardd amlwreigiaeth. Maent wedi tirion gospi, neu beidio cospi o gwbl, yr hyn a ystyrid yn mhob goruchwyliaeth flaenorol gan gyfraith Duw yn drosedd haeddiannol o farwolaeth; ac wedi gwneuthur yn drosedd, a gosod cospedigaeth lým yn ngyssylltiedig â'r hyn, yn ol y Beibl, ni ystyriwyd yn drosedd o gwbl erioed, gan Dduw, Iesu Grist, yr Ysbryd Glân, angylion, Prophwydi, nac Apostolion. Ie, gyd-ddinasyddion, cywilydd yw genyf ei ddywedyd, ystyriai gyfreithiau rhai o'n taleithiau blant Abraham a Jacob yn fastardiaid; a chymmerent eu gwragedd oddiwrthynt; ac felly gwahanent yr hyn a gyssylltodd Duw; a thynghedent y Patrieirch santaidd hyn, eu hunain, i galed-waith a chaethiwed unigol tufewn i furiau carchar-dŷ am flynyddau; a goddefent wedyn i'w gwraedd a'u plant gael eu halogi gan butteinwyr yn eofn; ac yna, fel pe i goroni pentwr anghyssondeb, gelwid y fath drefn ar bethau, wedi eu gosod ynghyd, yn "ddiweirdeb," neu "rhinwedd," ac fe roddid teitl mawreddog arnynt dan yr enw o "Gristionogaeth." Mae y fath sefydliadau wedi llanw "Cristionogaeth" â phutteindra. ei dinasoedd â ffieidd-dra, a'r byd ag afiechyd a malldod; nes y mae geiriau Esaia wedi cael eu cyflawni: "Y ddaear a halogwyd o dan e phreswylwyr."

Er enghraifft, sylwer ar Paris, prif ddinas Ffrainc Gristionogol; dywedir fod y drydedd rhan o'r plant a enir yno yn fastardiaid.

Edrychwch ar gyfrifiad poblogaeth Ewrop, ac hyd y nod o Daleithiau henaf y llywodraeth hon: gwelwch y cannoedd o filoedd sydd o fenywod yn amlach nac o wrrywod, Tynghedir yr holl or-rhifedi yma o fodau anfarwol gan y gyfraith Rhufeinig, â waharddant aml-wreigiaeth, i fyw yn weddw, ac i fod heb wneuthur y cyssylltiadau hyny a'u galluogent i lanw yn gyfreithlon ac anrhydeddus, mesur eu creadigaeth fel gwragedd a mamau. Nid hyn yw y cwbl ychwaith; yn ol y sefydliadau presennol arferir dynion i deimlo nad oes ond ychydig neu ddim

ymrwymiad arnynt i briodi: dewisa amryw o honynt fyw yn sengl. Cynnydda hyn rhifedi y benywod a dynghedir i fywyd gweddw, Nid dyma derfyn y drwg ychwaith; mae y rhyfeloedd presennol yn Ewrop, yn unig, wedi gwaghau y byd o feallai hanner myrddiwn o ddynion yn nghyhydedd eu bywyd —cystadleuwyr i'r swyddi pwysig o wŷa gwragedd a thadau; trwy yr hwn fodd yr ychwanegir yr un nifer o fenywod at y gyfresr waharddedig, ddim ond yn ol y gyfraith unwreigiol. I'r holl orrhifedu yma o boblogaeth fenywaidd a gyfodant oddiar yr achosion hyn ne ereill, hollol waherddir priodu, gan y gyfundrefn unwreigyddol; ac felly gorfodir hwy i dorri y gorchymyn mawr cyntaf gan Dduw, sef, "Ffrwythwch ac amlhewch."

Felly y mae cyfreithiau "Cristionogaeth" ein hoes, y rhai a fenthycwyd o Rhufain, wedi andwyo y cenedloedd â'r anfoesoldeb gwarthusaf; â phechod, a gofid, a dagrau, ac unigrwydd truenus a gweddwdod. Wyla y gweddwon gan eu bod heb wŷr; y morwynion gan eu bod heb briod-feib, a'r plant gan eu bod heb ymgeleddwyr; ac wyla deuluoedd a chenhedloedd gan eu bod heb ymddiried ynddynt eu hunain nac yn eu gilydd Diflanodd rhinwedd ac ymddiried; wyla drugaredd ddagrau o waed; cariad ei hun sydd yn petruso, ac y mae yn barod i rhoi ffordd i waedd cyfiawnder am ddial ar y ddaear.

Pa beth, ynte, a wna y cyfiawnion? Atebwn mai adferyd cyfraith Duw—y cyfammod newydd a thragywyddol, Prioded pob dinasydd a dinasyddes dda mewn oedran cyfaddas, bendithwch hwynt, a dywedwch—"Ffrwythwch ac amlhewch." Gwnewch farwolaeth yn gosp am odineb a phutteindra; ac amddiffyn o amgylch i'n teuluoedd a'n sefydliadau cartrefol cyssegredig. Gadawer i'r gyfraith unwreigyddol, sydd yn cyfyngu dyn wrth un wraig, gyda'i holl gwtws o butteindra, dichellion, twyllo benywod, gweddwdod truenus ac unigol, casineb, cenfigen, eiddigedd, baban-leiddiad, bastardiaeth, afiechyd, a marwolaeth, fel y mâen a fwrir i eigion y môr—ymsuddo gyda Babilon Fawr i godi byth yn hwy. Bydded pob dyn a benyw yn rhinweddol, diwair, pur, santaidd, yn cyflawni mesur eu creadigaeth. Ac awn atti, a llanwn y mynnyddau hyn, y Taleithiau, Gogledd a Deheu yr America; y ddaear; a rhestr diderfyn o fydoedd â had santaidd, pur, diwair, a dysgedig yn y radd uchaf, calonau pa rhai a ymhyfrydant yng nghyfraith Duw.

Deued ein meibion yn feibion i Dduw, trwy ffydd yn Iesu Grist, ac ufydd-dod i'r Efengyl, ; cerfier ei gyfraith Ef yn annileadwy ar lechau eu calonau; athrawiaether hwynt yn mhob egwyddor o rhinwedd, ac o anrhydedd : fel y byddo pob un o honynt yn drigle i ddiweirdeb, ac y cario ddylanwad iachus yn mhob cylch o'i gydnabod. Dysgu wnelont i barchu eu hunain fel meibion i Dduw, a'r rhyw arall megis chwiorydd—merched y Goruchaf—llestri santaidd, bodau tragywyddol, a arfaethwyd yn gydymdeithion a chydweithwyr yng ngelfyddyd fawr bywyd. Dysger hwynt i ymdderchafu, trwy bob egwyddor anrhydeddus ac uniawn, i'r orsedd Batriarchaidd, megis pennau teuluoedd a Hiachawdwyr dynion.

Ufyddhaed ein merched hefyd i ordinhadau Duw, a chaffont a gwrteithiont ddawn yr Yspryd Glân, yn mhob serchiadau da, a phur. Yn gynnar y caffont arddeall y gwir berthynas yr arfaethwyd iddynt ddal gyda y rhyw arall. Dysger hwynt i'w parchu megis brodyr teilwng o'u hymddiried a'u serchiadau—teilwng o gael bod yn Iachawdwr iddynt, ac yn ben arnynt, megys ag y mae Crist yn ben ar yr Eglwys. Dysger hwynt i brisio a pharchu eu hunain, megis llestri santaidd, a arfaethwyd i ddal a mawrygu y berthynas gyssegredig o wraig a mam; i fod yn addurn a gogoniant dyn; ac i gael rhan gydag ef o goron annhiflanedig, ac amherodraeth fythol gynnyddol.

Mewn gair, addysgwn ein meibion a'n merched yn mhob peth ag sydd yn santaidd, a gwirioneddol, a rhinweddol, a phur, a dymunol, ac o enw da ; yn raddol a gofalus amlygwn iddynt wir serchiadau a phriodoleddau eu nhatur, gwrteithiwn bob nwyd a chynneddf ddeallol a moesol o'u mhewn, ac yn bwyllog arweiniwn hwynt yn mlaen yng nghelfyddyd fawr bywyd ac ymdderchafiad: fel, pan na fydd amser mwyach, y gallom lawenhau gyda'r myrddiynau anfynegol o'n hiliogaeth yn y trig-fanau tragywyddol.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MEHEFIN 21, 1856.

Newyddion da. Anwyl Frodyr a Chwiorydd,—Newyddion da sydd genym, y tro yma etto, a ddygant i chwi fawr gysur, trwy hysbysu fod Teyrnas y "Garreg Fach" yn myned rhag ei blaen,—y Frenhiniaeth am yr hon y prophwydodd Daniel y

gosodai Duw hi i fyny yn y dyddiau diweddaf, ac na feddiannid hi gan neb pobl arall, ond y caffai Saint y Goruchaf hi dros fyth bythoedd.

Mae y Brawd Israel Evans wedi newydd ddychwelyd o Sir Benfro, lle y pregethodd yn mhob tref a phentref braidd, yr Efengyl sydd er tystiolaeth. Darlithiodd ar ddaearyddiaeth, cynnyrch a ffrwythlondeb y tir, a moesau ac arferiadau y bobl yn Utah. Cafodd dyrfäoedd lliosog i'w wrandaw, ac achosodd gryn gynhwrf ac ymchwiliad yn eu plith.

Cawsom ni ac yntau y pleser o fod yn bresennol yn Nghymmanfa Sir Benfro, y 1af o'r mis hwn. Dengys yr hanes o honi, a ddanfonwyd yma, fod 4 wedi cael eu bedyddio, a 25 wedi ymfudo yn ystod y chwarter diweddaf. Etholwyd i fod yn Henuriad Teithiol, y Brawd Dafydd John, yr hwn sydd wedi bod am flynyddau yn yr Athrofa, hyd oni fedyddiwyd ef gan y Saint, pan yr oedd ar fedr cael ei urddo yn weinidog i'r Bedyddwyr. Cafodd dystiolaeth gadarnhaol o ddwyfoldeb yr Eglwys, ac y mae ganddo, yn hytrach na chruglwyth o hen bregethau traddodiadol allan o lyfrau, Efengyl sydd mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân. Mae efe yn gadarn yn, ac yn ddyoddefgar, diwyd a gwrol dros y ffydd.

Dysgwyliwn lwyddiant mawr ar yr achos yn Sir Benfro, o dan lywyddiaeth y ffyddlon frawd E. D. Miles, yn gymmaint ag y parhâ y cariad a'r ymröad a welsom yno.

Dywed y Llywydd Abed. Williams, Merthyr, fod hwylusdod neillduol yno,—eu bod, oddiar yn ddiweddar iawn, wedi bedyddio dros ugain i ddechreu.

Dengys hanes Cymmanfa Llanelli, D. Davies, Llywydd, fod 107 wedi ymfudo oddiyno hefyd yr ymfudiad diweddaf. Dywed mai y Gymmanfa ddiweddaf oedd y goreu etto,

Gorllewin Morganwg.—Dyfynwn yr hanesion daionus a ganlyn o lythyr y Llywydd Harris:—

"Anwyl Frawd Daniels,—Dydd Sul, y 15fed o'r mis hwn aethym i Gynghor Dosparth, lle y cefais y brodyr mewn sefyllfa dda a phenderfynol o fyned yn mlaen gyda gwaith Duw. Yr oeddynt wedi hysbysu trwy yr ardal y byddai pregethu allan yn yr awyr agored, ond o herwydd fod yr hîn yn annymunol. cawsom ganiatad i fyned i neuadd y "Dynevor Arms," Pontardawe, yr hon a gafodd ei gorlanw am ychydig fynydau

wedi dau o'r gloch, o wrandawwyr astud a boneddigaidd, ac am 6 o'r gloch, er helaethed oedd y neuadd, yr oedd yn rhy fach o'r hanner i gynnwys y gwrandawwyr. Y Brodyr a bregethasant gyda mi oeddynt yr Henuriaid Thomas Evans, Cyfing, Wm. Lewis, Llywydd Cangen yr Alltwen; David a W. F. Williams, Alltwen; a barnu wrth olwg y dyrfa, gellir dweyd fod yna ddaionu wedi ei wneyd y dydd hwnw ag y gwelir ei ganlyniadau daionus etto. Mae y brodyr yn penderfynu dyblu yn eu diwydrwydd yn y lle hwn.

Cawsom amser hyfryd y Sul diweddaf yn Nghastellnedd. Am tua 10 yn y boreu, ymgasglodd cannoedd at làn y dwfr, pryd y pregethodd y Brawd John Jewry a minnau. Yna bedyddiais yn ngwydd y dorf ; ac addawai eraill gymmeryd eu bedyddio yn fuan. Am 5 o'r gloch yn yr hwyr, pregethodd y Br. Jewry a minnau ar y Quay i dorf liosog a boneddigaidd, y rhai a synent wrth ddeall fod athrawiaeth y Saint yn hollol wahanol i'r hyn a gyhoeddir trwy y newyddion bapyrau am dani. Mae y brodyr a'r Saint yn yr ardal yn penderfynu cynnyddu y tân dwyfol yr hwn sydd wedi ei gynneu yn nhref Castellnedd.

THOMAS HARRIS."

---

## CYFLAWNIAD PROPHWYDOLIAETHAU YNGHYLCH BABILON GYNTEFIG.

Y PRAWF a gyfyd oddiar gyflawniad dwyfol brophwydoliaeth yw, fod Duw yr un heddyw, ddoe, ac yn dragywydd; ac y cyflawnir ei holl air a lefarodd ac a lefara ym mhob oes trwy ei weision y Prophwydi.

Babilon oedd prif ddinas hen amherodraeth Babilonia, yr hon a sylfaenwyd gan ddisgynyddion cyntaf Noe, yn fuan ar ol y diluw. Helaethwyd hi gan Nimrod, oddeutu dwy fil o flynyddoedd cyn geni Crist. Ychwanegwyd llawer atti gan y frenhines Seniramis, a nerthwyd a godidogwyd hi gan amryw frenhinoedd dilynol; ond cwblhaodd Nebuchodonosor, a'i ferch, Nitocris, hi yn un o rhyfeddodau y byd, mewn ardderchogrwydd a gogoniant anghydmarol.

Safai Babilon ar ganol gwastad-diroedd ëang a ffrwythlon iawn. Yr oedd yn wahanedig i ddau barth, gan yr afon

Euphrates, yr hon a rhedai trwy ei chanol, o'r Gogledd i'r deheu. Amgylchynwyd ac amgauwyd y ddau barth yma gan yr un mur, yr hwn a ffurfiai ysgwâr perffaith a chyfan, yn dri ugain milldir o amgylchedd. Yr oedd yn gadarn rhyfeddol—yn bedwar ugain a saith troedfedd o led; yn ddigon llydan ar ei ben i chwech cerbyd rhedeg ochr yn ochr ar ei hyd, ac yn dri chan troedfedd o uchder,

Yr oedd ynddi ddwy borthfa, un bob ochr i'r afon, ac i bob un fur uchel, o'r un trwch a'r mur a amgylchynai y ddinas. Yr oedd cant o byrth, o faintioli dirfawr, er myned i'r ddinas, wedi cael eu gwneuthur â phrês i gyd.

Cyssylltid dau barth y ddinas gan bont feini yn groes i'r afon.

Er attal galanastra trwy orlifiad yr afon, gwnaed dau gamlas a arweinient y dwfr gorlifedig i'r afon Tigris. Gwnaed gwrthgloddiau mawrion hefyd at gadw y llifeiriant tufewn i gyffiniau rhag iddo dorri drosodd a gwneuthur niwed a dinystr. Y lle o'r hwn y cafwyd y rhan fwyaf o'r defnyddiau at y gorchwyl dirfawr yma oedd, o'r tu gorllewinol i'r ddinas, lle y cloddiwyd llŷn nodedig, yr hwn oedd ddeg troedfedd ar ugain o ddyfnder, a'i amgylchedd yn bum milldir a deugain,

Wrth bob pen i'r bont yr oedd palas ardderchog; ac o'r naill i'r llall yr oedd tramwyfa dan-ddaearol, a gloddiwyd o dan gorph yr afon. Maintioli yr hen balas, ar y tu gorllewinol, oedd oddeutu deg ar ugain o ystadau (yn agos pedair milldir) mewn amgylchedd, ac yr oedd yn amgylchynedig gan dri o wahanol furiau. O fewn cyffiniau y palas yma yr oedd gerddi celfyddydol yn ngrogedig, ac ynddynt rhodfeydd mawrion: derchafai y naill o honynt uwchlaw y llall hyd nes cyrhaeddent gogyfuwch a mur y ddinas. Amcenid hwynt i efelychu gwlad goediog, i'r hyn yr oedd coed wedi cael eu planu ynddynt safent mewn tìn o ddyfnder digonol i'r pwrpas.

Yn agos at y palas hwn safai teml Belus, ffurf yr hon oedd yn bedair-onglog, ac yr oedd yn agos i dair millddir mewn amgylchedd. Yn ei chanol yr oedd twr aruthrol—yn chwech cant o droedfeddi o uchder. Cynnwysai yr adeilad aruthrol hwn wyth o dyrau, pob un o ba rhai oedd yn bymtheg a thriugain o droedfeddi o uchder. Yr oedd grisiau oddiamgylch ogylch i'w tuallan yn esgyn i'w copau eithâf.

Ar ben y deml yr oedd delw aur fawr yn ddeugain troedfedd

o uchder, ac yr oedd yn gyfwerth i dair miliwn a hanner o bunnau. Yr oedd ynddi lawer iawn o ddelwau eraill, ynghyd, a dodrefn a ystyrid yn gyssegredig. Bernir fod y cyfan a berthynai i'r deml yma yn unig yn werth deugain miliwn o bunnau.

Dangosai y pethau yma rhywfaint o fawr allu a chyfoeth yr amherodraeth Fabilonaidd, yr hon, yn ddiau, oedd y grymusaf o waith marwolion. Gelwid Babilon yn ddinâs euraidd, yn ogoniant teyrnasoedd, ac yn foliant yr holl, ddaear. Ond er hyny ymwelwyd â'i balchder, ei drygioni, a'i heilun-addoliaeth, â llwyr ddinystr, yn ol rhag-ddywediadnu y Prophwyi santaidd.

*Alltwen.* WILLIAM. F. WILLIAMS.

*(I'w barhau.)*

---

## LLYTHYR ODDIWRTH Y LLYWYDD JONES.

*Ar fwrdd yr "S. Curling,"*
*Boston, U. D. A., Mai* 1856

Anwyl frawd Daniels,—Galluoga daionu tadol ein Duw fi o'r diwedd i gyflawni fy addewid, sef yr ysgrifenwn attoch yn ol pan gyrhaeddwn y porthladd hwn ; ac y caffech beth o'n hynt tra ar y fordaith hon,

Anwyl frawd, coeliwch, er mor amled y dyledswyddau a orphwysai arnaf, a'r cyfleustra a gaffwn i wneuthur daioni, gorlifai y cofiant am y pleserau a gydfwynhasom â'n gilydd yn yr amser gynt i'm cof bob dydd neu nos braidd, a gwaith rhy anhawdd fyddai i mi, pe ceisiwn, anghofio y Saint a adewais ar ol yn Nghymru. Credaf mai dymunol ganddynt hwythau, ond odid, yn neillduol perthynasau fy nghyd ymfudwyr, fyddai clywed ein hynt.

Llusgwyd ni allan o afon Lerpwl gan agerfâd, Ebrill 19eg. Cawsom dridiau o dywydd tawel ac ysgafn wynt, yr hyn oedd yn ffafriol iawn er cynnefino yr ymfudwyr â'r môr yn raddol, sicrhau y cistiau &c. yn eu llefydd. Y mae yma 707 o honom, neu dylaswn ddweyd fod cynnifer a hyny yn cychwyn, o ba rhai mae 560 o Gymru, 20 o'r Iwerdden, a'r gweddill o Loegr. Rheoleiddiasom y llong yn 11eg o ddosparthiadau, a Llywydd ar bob un, dyledswydd yr hwn oedd gweled fod dynion, ac nid benywod, yn codi am 5 o'r gloch y boreu i olchi y

parth, fel y gallai pawb godi i gadw dyledswydd am 6 o'r gloch ar ganiad yr udgorn; nid "Udgorn Seion" a feddyliaf, ond udgorn prês mawr a ddeffröai y meirw â'i lais braidd. Gosodwyd amser pennodol i bob dosparth gwcian lluniaeth ar gylch, ac yn yr hwyr, ar ganiad yr udgorn, deuai pawb i lawr i ddyledswydd, sef i addoli ein Duw. Bob nos fawrth a nos Iau cynhaliem gyfarfodydd gweddio. Bob Sul y boreu cyfarfyddai y llywyddion ynghyd mewn Cynghor i drefnu pob materion perthynol i'r amgylchiadau. Am dri o'r gloch yn y prydnawn pregethwyd ar y deck, ac am 7½ yn yr hwyr cadwyd cyrddau Saint, a rhanwyd y Sacrament. Fel hyn y treuliasom ein hamser, neu y rhan addoliadol o honi, a chawsom fawr bleser a lleshad yn hyn, a mwy o fendithion nac a dalai y gost o hono. Mynych y cawsom wynt teg mewn attebiad i'n gweddiau, ac nid wyf yn credu fod cynnifer o bobl wedi byw mor gydunus hapus, addfwyn a duwiolfrydig cyhyd o tan y fath amgylchiadau o'r blaen. Ni bu gair croes na gwgus braidd o barthed i ddim yn y cyfamser. Mae yn bleser genyf allu dweyd hyn, ac yr wyf yn eu caru fwyfwy fyth o'r herwydd.

Am ein hiechyd ni allaf ganmol cymmaint; etto nid oes lle i feio llawer: yr achos mwyaf o afiechyd oedd bwyta gormod o fwyd mor dda ac mor grŷf heb ddim gwaith i'w wneuthur er ei dreulio. Etto rhagflaenwyd canlyniadau bygythiol ar y dechreu trwy offerynoliaeth castor ac olive oil yn bennaf, ynghyd a gweinyddiad y moddion osododd Duw i'r perwyl yn ei Eglwys. Bu Llywyddion Cynnadleddau ymadawol o Gymru, a henuriaid ereill o les mawr trwy eu gweinyddiadau ffyddiog a pharhaus. Ganwyd dau blentyn ar y môr, un mab i Thomas Dee, gynt o Llanelli, yr hwn a enwyd ar ddymuniad ei rieni a'r ymfudwyr yn Dan Curling Dee, a ganwyd merch i frawd o Loegr o'r enw Reynolds, ac mae y plant a'u mamau wedi gwella yn rhagorol o dda. Cefais gryn drafferth i gael gan rhieni i ofalu dros eu plant, yn neillduol y mamau i ymgeleddu eu babanod, a d'od a hwynt i fyny i'r awyr iach: o herwydd esgeulusdod yn hyn, clafychodd y mwyrif o'r babanod, ac er fy mod yn gwneyd cawl *mutton* a *beef* i'r mamau, ac arrowroot i'r plant bob dydd braidd, ac er pob ymdrech a wnaed, bu farw 5 o'r babanod, tri o leiaf o ba rhai oeddent yn anobeithiol o wella cyn

cychwyn o gartref. Plant oeddent i G. W. Davies, Jno. Lewis, Evan Davies, John Basset, a Wm. Thomas. Oherwydd caethiwo gormod ar y plant yn y gwelyau, torrodd allan yn eu plith y "frech yr ieir," a rhedodd trwy y llong o ben bwy gilydd iddi braidd; eithr trwy fendith Duw ar y moddion, a'r driniaeth a gawsant, ni bu neb farw o'r herwydd; ond y mae genym achos diolch na buasai yn frech wén neu waeth. Achosai bwyta gormod o gig a blawd ceirch i amryw gael y dolur rhŷdd, eithr mae yr oll braidd, trwy wneyd yn well, wedi gwella o hyny hefyd.

Y tywydd: Ar ol y tridiau cyntaf cawsom wŷnt cryf o'n hol a'n chwythai yn agos i 300 o filltiroedd y dydd am 4 diwrnod. Wedi hyny cawsom wyntoedd croesion am yn agos i bythefnos, er gwaethaf pob peth, ac o herwydd fod tua 2000 o dunelli o haiarn yngwaelod ein llong siglâi fel nŷth brân ar frig pren mewn ystorom, ac nid oes neb yn cintach na chawsont werth eu £5 o siglo. Gawsom ddeuddydd o dywydd hafaidd, haulog, a thwymn, tra yr oedd y benywod mor brysur yn golchi eu dillad a'r dynion yn cario dwfr, a'u hongian i sychu, ag y gwel'soch wenyn yn Sir Gaer yn casgln mêl, ac mae yn amheus a welwyd cynnffar hwyliau i fyny ar long, neu a fu llongwr a wyddai enw ar yr oll o honynt. Wedi i'r dillad sychu digon daeth gwŷnt teg i'n gyru yn raddol yn y blaen.

Cèfais ddau frâwd ffyddlon a medrus yn Gynghorwyr, sef John Oakley a Grant, brodyr a ddaethant gyda ni o'r Dyffryn chwi wyddoch. Heblaw bod yn Llywydd, etholwyd fi yn unfrydol i fod yn *Gintachwr Cyffredinol* dros bawb yn y llong, ac addawodd pawb na cheisient ladratta fy swydd odiarnaf; ac er clod i'w geirwiredd a'u gonestrwydd dywedaf i mi allu llanw y swydd rhy dda i neb arall ei chwanta hi nemawr.

Buom mor ffortunus a chael llong dda a Chadben tirion a thadol iawn. Talwyd diolchgarwch dieithriad iddo gan yr oll a hyderwn y cewch chwithau yr un fraint o gael un mor ddyngarol i'ch cludo chwi a'ch cannoedd gyda chwi ar ein hol.

Ystyrir yn wyrth braidd na ddigwyddodd yn mhlith dros 750 o bobl mewn mis o amser yr un anhap na dolur i neb, eithr fod gofal tyner a thadol ein Duw yn ein hamgylchu nu rhag niwed yn barhaus.

Yn awr, anwyl frawd Daniels, a brodyr a chwiorydd oll—

Wele fôr mawr rhyngom; wele ni lle y dymunech chwithau fod, ac ar ein ffordd i'r un man lle y dysgwyliwn etto eich cyfarfod, o ganlyniad, gadewch i mi dystio unwaith etto o'r pellder hwn fod "Mormoniaeth" yn gwella o hyd, po fwyaf a adnabyddwn o honi; fod y Duw a wasanaethem tra yna gyda chwi, yma gyda ni hefyd, ac fod lleshad, cysur, llwyddiant, a dedwyddwca dyn yn ymddibynu ar ufyddhau i'w holl orchymynion. Dywenydd yw genyf allu credu eich bod chwithau, fy anwyl frawd, yn teilyngu' ac yn cael rhan helaeth yn ffydd a gweddiau y Saint, ac felly galluogir chwi i'w hiawn gyfarwyddo yn ffyrdd Duw, rhodio pa rhai a'u dygant yn ddiangol i Seion yn brydlon.

Fy nghofiant caredig attoch o hyd ac o bob man; at eich Cynghorwyr, Evans ac Ashby, at Thomas Harris, Wm. Lewis, a phawb yn y tŷ, a fy hen gydweithwyr yn y winllan—y Llywyddion, a'r holl Saint.

Eich Cydwas,

D. JONES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

MAE DARLUN Y LLYWYDD SPENSER i'w gael yn y Swyddfa hon. Gwyddom yr awydda pawb o'r Saint Cymreig a gawsont y fraint o adnabod y person am y darlun o hono i addurno eu llyfr-gelloedd a'u muriau. Prynasom y nifer a ofynwyd i'r Saint Cymreig gymmeryd, er cael yr anrhydedd o'i gynnorthwyo i ddychwelyd adref. Yr un yw'r mathau, prisiau, ac elw a'r lleill.

☞ Cofied y llywyddion am y casgliadau, &c., erbyn Meh. 27. Daeth peth o arian y D. Y. B. heb enwau cangenau, &c.!

Taliadau o Meh. 6 hyd 19.—G. Roberts, 10s; T. Stephens, £5; C. Harman, £1 6s; J. Gibbs, 10s; T. Jones. 8s.

---

CYNNWYSIAD. TUD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 14.] GORPHENAF 5, 1856. [CYF. IX.

## MILFLWYDDIANT.

GAN THOMAS HARRIS, GYNT O DRE-SIOR.

[Parhad o dud. 165.]

GWIR yw na ŵyr neb y *dydd* na'r *awr* y daw Mab y Dyn, etto bu ein Harglwydd bendigedig mor drugarog a rhoddi arwyddion arddangosiadol i'r doethion, sef y rhai a ddysgwylient am dano, fel y gallent wybod yr oes a'r genedlaeth yn mha un y deuai, a pha bryd y dechreuai y milflwyddiant, oblegid "i chwi," meddai, "y rhoddwyd i wybod arwyddion yr amserau." Ei ganlynwyr a ofynasant iddo beth fyddai yr arwyddion a rhagflaenent y cyfnod hyfrydol hwn, ac yntau a attebodd—"A'r *efengyl hon* am y deyrnas a bregethir trwy yr holl fyd, er *tystiolaeth* i'r holl genedloedd: ac yna y daw y diwedd." Yr wyf wedi profi yn eglur ac ysgrythyrol fod efengyl Crist, neu yr "efengyl hon" a bregethai Efe, wedi cael ei chymmeryd oddiar y ddaear wedi ei amser Ef. Yn awr mae y gofyniad yn cyfodi yn meddwl rhywun os cymmerwyd hi oddiar y ddaear, pa fodd y daeth wedyn? Mewn atebiad dywedaf fod Ioan wedi adrodd gweledigaeth brophwydoliaethol, yr hon a gafodd yn ei alltudiad i ynys Patmos, wedi iddo gael dadguddiadau yn flaenorol i'r weledigaeth hon, yn hysbysu y byddai i'r ddaear gael ei hamddifadu o'r "efengyl hon," yn ddilynol gwelodd—"angel arall yn ehedeg ynghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol [hon] ganddo, i'w hefengylu i bob llwyth, iaith, pobl, a

chenedl ag sydd yn trigo ar wyneb y ddaear," yr hyn sy'n profi y gosodiad fu dan ein sylw yn flaenorol, sef, fod "pob llwyth, iaith, pobl, a chenedl" i gael eu hamddifadu o'r efengyl dragywyddol, pe amgen, gwaith afreidiol hollol fyddai i'r Duw doeth aufon angel at drigolion y ddaear i drosglwyddo iddynt yr hyn oedd yn feddiannol ganddynt yn flaenorol.

Yn awr, galwaf sylw y darllenydd at y ddammeg a lefarodd yr Iesu—"Dysgwch ddammeg oddiwrth y ffigysbren, pan yw ei gangen eisioes yn dyner, a'i ddail yn torri allan, chwi a wyddoch fod yr hâf yn agos: ac felly chwithau, pan weloch hyn oll, gwybyddwch ei fod yn agos, wrth y drysau." Yn bresennol, chwiliwn, er cael allan beth yw yr arwyddion arddangosiadol o ddynesiad y Milflwyddiaut, ac Ail-ddyfodiad Mab y Dyn, megis ag y mae y dail ar y ffigysbren yn arwyddion arddangosiadol o ddynesiad yr hâf. Dywedodd yr Iesu y ceir clywed am "ryfeloedd, a sôn am ryfeloedd," ychydig cyn y diwedd. Beth ydym wedi ac yn ei glywed? Rhyfeloedd a sôn am ryfeloedd o gŵr i gŵr i'r byd o'r bron. Beth ond sön am rhyfeloedd a glywir o eithafion cyffiniau rhewog Kamschatka hyd eiriawg fynnyddau Terra del Fuego, ïe, hyn a grëa arswyd a phrudd-der yn nghalonau trigolion China, India, Persia, Affganistan, Groeg a Thwrci, &c Hefyd fe ddywedodd yr Iesu y "cyfyd cenedl yn erbyn cenedl, a theyrnas yn erbyn teyrnas, ac fe fydd newyn, a nodau, a daeargrynfäau mewn manau," ac y byddai "gorthrymder mawr," Mae y ffeithiau a ŵyr ein darllenydd am danynt yn ddigon i brofi fod cenedl wedi codi yn erbyn cenedl, a bod teyrnasoedd y byd mewn ymrafael â'u gilydd: onid yw y meirch rhyfel wedi eu gyru i'r frwydr; onid yw y gwaed a liwiodd lanau y Danube yn profi fod geiriau yr Iesu yn cael eu cyflawni; ac onid yw y meirwon a orlanwant ffosydd Rwsia, a gwaedd y gweddwon, a chri yr amddifaid, y rhai a gollasant eu gwŷr a'u tadau ar faes y frwydr ddiweddar, yn gynnifer o ffeithiau diwrthbrawf i brofi fod heddwch wedi ei gymmeryd oddiar y ddaear, ac o fod cenedl wedi codi yn erbyn cenedl, a theyrnas yn erbyn teyrnas: yn ein dyddiau ni lleddir eidionau i fwyda ymladdwyr—newynir gwerinos fel y caffo dialeddwyr eu porthi, a dyfeisir peiriannau dinystriol i wthio trigolion y ddaear i farwolaeth wrth y miloedd. Rhyfel. rhyfeloedd, a sôn am ychwaneg o hyd a orlanwant golofnau

newyddiaduron y byd; lladd, llosgi, a llofruddio gwŷr, gwragedd a phlant, a dyfeisiadau newyddion i ddifrodi y bywyd dynol gyda mwy o gyflymdra yw y newyddion amlaf a glywwn o bob cŵr o'r ddaear braidd; mae gwaedgwn rhyfel yn udo, a bualgyrn brwydro sydd ar eneuau breninoedd ac areithwyr yn ngwahanol senedd-dai teyrnasoedd y byd; hyn oll, gyda dyoddefiadau newynaidd tlodion, a chwynfanau trancedigion gormes a brawf fod gorthrymder mawr y dyddiau diweddaf wedi dechreu. Arswydir trigolion y byd yn fynych gan ddaeargrynfeydd dychrynllyd; ysgydwir a rhwygir y ddaear yn ddisymmwth mewn gwahanol barthau yn fynych, gan resi o ysgwydiadau cynhyrfiol yn dilyn y naill y llall gyda ymhyrddiadau cyflym, a'u sŵn yn ymledu fel twrf taranau yn yr awyrgylch; yn fynych y mae'r ddaear yn cael ei hollti yn agenau anferth, a chastelli yn cael eu chwilfriwio yn ddarnau, a dinasoedd yn cael eu dryllio yn gyrbibion, a dynion wrth y miloedd yn cael eu hysgubo i fyd arall yn ddirybudd; pläau a heintiau angheuol sydd yn cyniwair trwy y gwledydd, gan symmud niferoedd lliosog o drigolion y ddaear i fyd yr ysbrydoedd yn ddisymmwth. Mae y darllenydd yn gwybod am lu o ffeithiau o hyn heb achos i mi nodi enghreifftiau yn bresennol.

Pwy a wêl ar nad yw y ffeithiau a nodwyd fel cynnifer o arwyddion arddangosiadol o ddynesiad y milflwyddiant, fel y mae y dail yn arddangos dynesiad yr hâf.? Ond o bosibl y dywed rhywun mai pethau ag oedd i gymmeryd lle yn nyddiau Crist yw y rhai a nodais, ond cofied y cyfryw yr hyn a ddywedodd yr Iesu,—"*Ac yn y fan* wedi gorthrymder y dyddiau hyny, y tywyllir yr haul, a'r lleuad ni rydd ei goleuni. a'r ser a syrthiant o'r nef, a nerthoedd y nefoedd a ysgydwir;" mewn man arall, pan yn cyfeirio at yr un cyfnod, dywedir, "A'r haul a droir yn dywyllwch, a'r lleuad yn waed," &c. Cred pob dyn rhesymol nad yw y pethau hyna wedi cymmeryd lle, ac felly rhaid iddynt gyfaddef mai arwyddion perthynol i'r dyddiau diweddaf yw y rhai a nodwyd, ac nid perthynol i'r oes yn mha un eu llefarwyd.

Arwydd arall yw, y bydd i'r "efengyl hon am y deyrnas gael ei phregethu." Pregethwyd llawer gan wahanol bleidiau yn y canrifoedd mynedol, ond pregethu "efengylau eraill" oeddent hwy; yr oedd Crist yn dywedyd "yr efengyl hon" o herwydd

ei fod yn canfod trwy ysbryd y brophwydoliaeth y byddai dros chwech cant o "efengylau ereill" yn bodoli yn yr amser hwnw. Yr oedd am ddweyd yn ddigon eglur mai yr "efengyl *hon*," sef efengyl a'r "arwyddion hyn" yn canlyn ei chredinwyr, oedd yr un iawn. Gallasai ddweyd fod yr efengyl a bregethasai Efe yn cynnwys apostolion, prophwydi, gwyrthiau, doniau i iachâu, llefaru â thafodau, a ffydd i nesau yn hyderus at orseddfainc y grâs heb ammheu dim, a cheisio nes derbyn, &c. Yn awr, sylwed y darllenydd mai yr "efengyl *hon*" sef efengyl yn cynnwys yr un swyddogion a'r un bendithion yn cael eu mwynhau gan ei chredinwyr, fyddai i gael ei phregethu yn y dyddiau diweddaf er *tystiolaeth* i'r holl genedloedd, sef i bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl ag sydd yn trigo ar wyneb y ddaear. Yn awr, beth a glywwn? Yr ydym yn clywed yr "efengyl *hono*" yn cael ei phregethu yr hon sydd yn cynnwys apostolion, prophwydi, &c., a'r arwyddion yn canlyn y credinwyr; yn mhob tref a phentref yn mhob gwlad braidd, yn y dyddiau hyn pregethir bedydd edifeirwch er maddeuant pechodau, ac arddodiad dwylaw er derbyn dawn yr Ysbryd Glân, mewn gair, pregethir yr efengyl hono a bregethodd Crist, yr hon nid yw mewn gair yn unig, fel yr "efengylau eraill," ond y mae mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr. Mae hyn etto yn arwydd sicr a dios, fel deiliad y ffigysbren cyn dyfod o'r hâf, fod dyfodiad Mab y Dyn a'r Milflwyddiant yn agos, ïe, wrth y drws, yr hyn sydd yn llawenhau calonau y ffyddloniaid gormesedig, y rhai sydd yn hiraethus ddysgwyl dadguddiad meibion Duw.

O bosibl y dywed rhai nad yw y pethau a nodwyd yn un arwydd o ddynesiad y cyfnod soniedig—fod rhyfeloedd, daeargrynfäau, newyn a heintiau wedi bod lawer gwaith o'r blaen. Mae sawyr anffyddiaeth gyda'r fath ddywediad. Gwir fod pob un o honynt wedi cymmeryd lle cyn ac wedi amser Crist; ond y maent wedi cyd-gwrdd yn ein hoes ni yn fwy neillduol nag mewn un oes flaenorol: ni chofnodwyd mewn hanesyddiaeth er dechreuad y byd y fath orthrymder ag sydd yn ein dyddiau: mae mwy o genfigen rhwng teyrnasoedd a'u gilydd, erchyllach cyflafan mewn rhyfeloedd, mwy o ddinystriadau ar dir a môr, mwy o ddyfeisio peiriannau i ddyfetha dynolion, gwaedd y gweddwon a'r amddifaid yn uwch, tlodion y gwledydd yn

lliosocach ac yn druenusach eu cyflwr, ac y mae mwy o falchder ac anghariad rhwng dynion yn awr nag a fu erioed o,r blaen, ac yn nghanol y gymmysgfa hon o eiddo Babilon mae cenadon yr hedd, er gwawd a dirmyg, yn derchafu eu llais, gan bregethu "yr *efengyl hon* am y deyrnas er tystiolaeth i'r holl genedloedd.

Nid yw gwir brophwydi y dyddiau diweddaf i gael mwy o chwareu-teg na'r hen wir brophwydi, cauys dywedodd Crist, yr hyn sydd yn arwydd arall o agosâd y milflwyddiant, y byddai i *au*-brophwydi i gyfodi. Sylwed y darllenydd etto: er ys ychydig flynnyddoedd yn ol yr oedd y byd mewn heddwch, ond fe ddaeth rhyfeloedd: bu y byd hyd yn ddiweddar heb neb yn adnabod Duw, na chanddo wybodaeth o'r gwirionedd, ond danfonodd Duw èi angel a'r efengyl dragywyddol, a chan na wna yr Arglwydd ddim ar y ddaear ar nas dadguddia ei gyfrinach i'w weision y prophwydi, yr oedd yn rhaid iddo godi gweision neu brophwydi ar y ddaear, ac Efe a wnaeth hyny yn ein hoes ni. Yn awr, gall y darllenydd ddysgwyl clywed sôn am y *gau* brophwdi yn codi, canys mae yr Iesu wedi dywedyd y "cyfyd *gau*-brophwydi;" cofier na chydnabyddant eu hunain mai gau fyddant. O na, ymrithiant mor debyg i'r *gwir* brophwydi, fel yr ymrithia y diafol ar rith angel y goleunu, nes y "twyllant lawer," meddai Crist, hyd y nod "pe byddri yn bosibl, ïe, yr etholedigion." O blith pwy blaid y cyfodant? Digon tebyg mai o'n plith ni ein hunain fel cynt y cyfyd y gwŷr hyn, i lefaru pethau gwyrdraws, i dynu dyscyblion ar eu hol. A oes rhai o honynt wedi codi? Oes, maent eisioes ar y maes. Cofied y Saint fod yn rhaid i'r rhai hyn godi, er i eiriau yr Iesu gael eu cyflawni, a chymmerent hyn fel arwydd gadarn arall o ddynesiad y diwedd..

Methodd y diafol trwy esgobion, offeiriaid, parchedigion, pregethwyr, a phawb i rwystro llwyddiant pregethiad yr efengyl *hon* am y deyrnas," a methu wna'r gau-brophwydi etto; ond dichon y bydd iddynt fod mor llwyddiannus ag i ddidoli yr ûs oddiwrth y gwenith, a chario yr efrau i'r tân. Mae yn augenrheidiol i'r Saint a phawb i gofio geiriau ein Hiachawdwr bendigedig, yr hwn a ddywedodd,—"Ymogelwch rhag gau-brophwydi, y rhai a ddeuant atoch yn ngwisgoedd defaid, ond oddifewn, bleiddiaid rheibus ydynt hwy." Yr achos eu bod

mor beryglus yw o herwydd eu bod mor debyg i'r gwir brophwydi,—yn dyfod atom "yn ngwisgoedd defaid." Ond wrth eu ffrwyth yr adnabyddwch hwynt,—"breuddwydwyr ydynt yn halogi y cnawd, yn diystyru llywodraeth, ac yn cablu y rhai sydd mewn awdurdod. y rhai fu yn frychau yn nghariad-wleddoedd y Saint, yn cyd-wledda gyda hwynt, yn ddiofn yn eu pesgi eu hunain: cymmylau diddwfr ydynt a gylch-arweinir gan wyntoedd; prenau diflaneaig heb ffrwyth ddwywaith yn feirw, wedi eu diwreiddio o'r eglwys. A wadant athrawiaeth y Saint? Na wnant; ond cyfaddefant fod Crist yn Fab Duw, a bod Joseph Smith yn brophwyd iddo. a bod yr egwyddorion i gyd yn wirionedd. ond daliwch sylw ar eu ffrwythau,—diystyrant lywodraeth bresennol yr Eglwys, a chablant y rhai sydd mewn awdurdod yn Seion, &c. Rhaid yw i hyn fod, gan hyny bydded anwyliaid Duw ar eu gwyliadwriaeth.

---

## CYMMANFA DDWYREINIOL MORGANWG.

A GYNNALIWYD yn Neuadd y Cymreigyddion, Merthyr. ar y 29ain o Fehefin. 1856. Am hanner awr wedi deg yn y boreu, gweddiodd yr Henuriad David Pugh. Yna y Llywydd A. S. Williams a anerchodd y gynnulleidfa liosog, gan eu hysbysu y byddai i'r cyfarfod boreuol i gael ei dreulio at osod ger eu bron awdurdodau yr Eglwys, a darllen cyfrifon y casgliadau a'r cynrychioliad. &c.

Yr Henuriad Israel—Yr ydym wedi cyfarfod yma heddyw i gynnal ein Cymmanfa, a threfnu materion y Gynnadledd. ac i gyfammodi i ddal i fyny awdurdodau yr Eglwys. Na fydded i neb gyfodi ei law i gyfammodi y bydd iddo ufyddhau i'w Lywyddion, os na fydd yn bwriadu gwneyd hyny. Diehon fod rhai ar enw Saint a ddywedant eu bod hwy yn foddlon ufyddhau i'r Llywydd Richards neu i'r Llywydd Daniels, ond nid ydynt yn foddlon ufyddhau i Llywydd y Gynnadledd; cofied y cyfryw nad yw hyny ond anghysondeb a rhagrith. Dylai fod gan Lywyddion y Cangenau ymddiried yn Lywydd eu Cynnadledd, a chofio mai nid iddynt hwy y mae Llywydd y Gynnadledd yn gyfrifol, ond i'r rhai sydd wedi eu gosod i ofalu neu i lywyddu drostynt hwythau. Os oes yma ryw Lywydd

Cangen yn teimlo yn anewyllysgar i ufyddhau a chario i weithrediad yr holl gynghorion a ddaw trwy Llywydd y Gynnadledd, gwell i'r cyfryw amlygu ei hun heddyw, canys y mae yn anmhosibl i lwyddiant fod yr un man â hwnw. Mae Llywydd y Gangen hefyd yn teilyngu ac y mae yn rhaid iddo gael yr un ymddiried ac ufydd-dod gan Swyddwyr a Saint ei ofal, oblegid heb hyny nis gallant fod yn deilwng o fwynhau y bendithion addawedig i'r ffyddloniaid yma nac yn Seion.

Cymmeradwywyd holl awdurdodau yr Eglwys yn llawen ac unfrydol.

Yr Henuriaid D. Pugh, T. J. Rees, W. R. Jones, ac A. S. Williams a dystiasant fod y Saint a'r swyddwyr yn y Gynnadledd mewn sefyllfa ryfeddol o dda. ac yn well nag y buont er's tro. Mae y Saint yn benderfynol i wneyd eu rhan i adeiladu i fyny deyrnas Dduw, gan roddi eu hunain a'i heiddo i wasanaeth y nef i wneyd y gwaith darpariadol i ail ddyfodiad Mab Duw, yr hyn a dry allan er bendith iddynt hwy, pan fydd y gwrthodwyr a'r gwawdwyr yn galaru. fel y cynddiluwiaid, pan fo y gwaith wedi ei orphen a'r drws wedi ei gau.

Yr oedd tystiolaeth yr Henuriaid John Llywelyn ac Evan A. Richards yn gydunol ag eiddo y brodyr a nodwyd am sefyllfa y Gynnadledd.

Wedi darllen y cyfrifon, terfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan y Llywydd Daniels.

Am ddau o'r gloch, gweddiodd yr Henuriad Thomas Harris, yna galwyd ar y Bugail J. B. Martin, yr hwn a sylwodd ar undeb yr Offeiriadaeth, a'r bendithion a fwynheir gan y Saint trwy ufyddhau iddi, ac ar y ddyledswydd sydd ar y Saint i fod yn helaethion yn ngwaith yr Arglwydd, ac a hysbysodd ei lawenydd o ddeall fod y Saint yma, fel gydag ef yn Bristau, &c. wedi deffroi yr rymus at waith Duw.

Yna y Llywydd Daniels a lefarodd gyda nerth a dylanwad mawr iawn. Dylifai gwirioneddau pwysig dros ei wefusau, pa rai a lawenhaent galonau y Saint. A barnu wrth y dylanwad a gafodd, gellir dweyd ei fod fel y celfyddydwr cywrain, trwy nerth Ysbryd Duw, yn argraffu pob gair ar galonau ei wrandawwyr.

Terfynwyd trwy weddi gan David Davies, Llywydd Cynnadledd Llanelli.

Am chwech yr hwyr, gweddiodd J. Thoms, Llywydd Cynnadledd Brycheiniog. Yna cafwyd pregethau gwresog iawn gan Thomas Harris, Llywydd Cynnadledd Orllewinol Morganwg; y Llywydd Israel Evans o Ddyffryn y Llyn Halen; Benjamin Evans, Llywydd Cynnadledd Mynwy; a'r Bugail J. B. Martin o Bristau.

Gellir dweyd i ni gael Cymmanfa ragorol; derbyniodd y brodyr nerth yr Ysbryd Glân i draethu y gair gydag eglurder, a gobeithir gweled effeithiau daionus o'r cwbl yn y dyddiau dyfodol.

Cynnaliasom y Tea Party prydnawn dranoeth, pryd y cyfranogodd amryw gannoedd o'r rhai a feddent docynau, o'r blasus dê a'r deisien frau; ac yn yr hwyr cynnaliwyd Concert, yr hwn a derfynodd waith y ddauddydd. Teilwng yw dweyd fod côrau Merthyr, Cwmbach, ac Aberamman wedi gwneyd eu rhan mewn modd campus trwy yr holl gyfarfodydd.

T. STEPHENS, Ysgrifenydd.

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

## DYDD SADWRN, GORPHENAF 5, 1856.

"PRIODAS A MOESAU YN UTAH."—Anwyl Saint,—Yr ydym yn byw mewn oes yn mha un y mae Duw yn datguddio ei gyfrinach i'w weision y Prophwydi megis cynt, ar ol adferyd y Cyfammod Tragywyddol, a thra yr ymwleddwn ar felys seigiau gwirionedd datguddiedig a ddug i ni fywyd tragywyddol, amgylchynir ni gan liaws coel-grefyddwyr selog a ystyriant mai nyni yw y "gau-brophwydi," a'r dynion mwyaf aflan a thwyllodrus ar wyneb daear. Dysgant eu plant i adrodd y pwnc fel ei gelwir yn yr ysgol sabbothol i daro i'w mhympwyau hwy. Gofyna yr athraw, "Pwy yw y gau brophwdi?" Croch-floeddia y lliaws plant, yn yr hen dôn arferol, "Yr-hen-Seintiau-y-Dyddiau-Di-weddaf," &c. Ar yr un pryd y mae eraill a gredant mai sŵn heb nemawr sylwedd yw crefyddau sectyddol

ein gwlad, ac fod crefydd apostolion, prophwydi, doniau, datguddiadau, priodasau a moesau gan y Saint, a phob peth arall a ddyry crefydd a grym; ond methant weled trwy yr egwyddor o aml-wraigiaeth: druain o honynt! Pa rhyfedd? Ni chawsont gyfleustra i glywed nemawr ond cabldraethau ein gelynion ag ydynt yn llawn o odineb a phuteindra eu hunain, ac, fel y dyn yn y clefyd melyn, gwelant bawb arall yn felyn hefyd. Gwyr pob Sant a brofodd o rhinwedd gwirionedd tragywyddol fel y cam-ddarlunir ac y sarnir yr egwyddor santaidd o briodas a moesau sydd yn mhlith y Saint. Mae ei pherthynas â dechreuad ac amlhâd, iechyd a nerth cenedloedd, ïe, *bydoedd*, yn gyfryw ag ydyw sylfaen i adeilad: trwyddi hi y parhaodd ein byd i amlhau a chryfhau: trwy y gwyrdröad o honi hi y dechreuodd, y mae, ac yr â y byd i ddirywiad,—yr â dynion yn fwy llygredig ac anamlach o hyd, hyd oni â y ddaear yn wâg, oddieithr yr ychydig ddynion a adewir, sef y rhai na throseddant y cyfreithiau, &c. Trwy fyw yn ei hol yr oedd cewri gynt yn Israel o'r fath a ddarllenwn am danynt yn hanes barnwyr a brenhinoedd Israel; a chydmarer hyd einioes, neu rym a iechyd corfforol yr oes hon ag eiddo dynion gynt. Pa beth yw yr achos o'r gwahaniaeth? Y gwyrdröad o'r egwyddor hon. Pwy Sant ynte a fedda ronyn o gariad at achos Duw a ganiatâ i'r fath wirionedd glân nefolaidd gael ei ddwbio â baw afiach dynion llygredig ein hoes, cyn y caffo y gonest afael ynddo? Mae y Llywydd Richards am i'r traethawd seisneg newydd ar y pwnc yma i gael lle ar *bob aelwyd a theulu o Saint yn Nghymru*. Rhoddasom gyfieithad cyflawn o hono yn ein dau rhifyn diweddaf. Erchir degau o filoedd o hono gan Lywyddion y Cynnadleddau Seisneg, y rhai ydynt yn ymdrechu yn mhob dull i'w gylchredu, er dangos i'r byd, ac argyhoeddi cynnifer a garant rhinwedd a diweirdeb, nad cruglwyth o afiiechyd fel ei ddesgrifir yw cyfraith briodasol a moesau y Saint. Gwnaed y Llywyddion Cymreig yr un modd. I bob teulu o Saint yr elo, ac yn llydan y byddo ei gylchrediad; a chan fod cymhelliad i'r Cymry, er mwyn hunan les, i ddysgu Seisneg, byddant yn llawen rhyw ddydd etto am iddynt sicrhau y traethawd gwerth fawr hwn: na fydded yr un Sant hebddo, ac na adawer na phregethwr na gwrandawwr, na neb deallus hebddo neu gynnygiad o hono, fel y byddo pawb yn ddiesgus yn nydd y

frawdle, pan y gorfodir hwynt i gydnabod mai pobl rhinweddol yw y Saint, ac y dylasant fod wedi gwybod hyny. Anfoned y Dosparthwyr i Swyddfa Lerpwl am dano, yn ol cyfarwyddyd eu Llywyddion. Byddwch haelionus frodyr.

---

## CYFLAWNIAD PROPHWYDOLIAETHAU YNGHYLCH BABILON GYNTEFIG.

*Parhad o tud.* 205,

Ceir y prophwydoliaethau canlynol am gwymp Babilon:— Esaiah xiii, xiv, a xxv; Jeremiah l a li: ditynwn ychydig:— "A Babilon, prydferthwch y teyrnasoedd, gogoniant godidawg rwydd y Caldeaid, fydd megys dinystr Duw ar Sodom a Gommorah, Ni chyfanneddir hi yn dragywydd, ac ni phreswylir hi o genedlaeth i genedlaeth; ac ni phabella yr Arabiaid yno, a'r bugeiliaid ni chorlanant yno; ond anifeiliaid gwylltion yr anialwch a orweddant yno; a'u tai hwynt a lenwir o ormesiaid, a chywion yr estrys a drigant yno, â'r eilyllon a lamant yno: a'r cathod a gyd-attebant yn ei gweddw-dai hi, a'r dreigiau yn y palasoedd hyfryd: a'i hamser sydd yn agos i ddyfod, a'i dyddiau nid oedir. Minnau a gyfodaf yn eu herbyn hwynt medd Arglwydd y lluoedd, ac a dorraf allan o Babilon enw a gweddill, mab ac ŵyr, medd yr Arglwydd: ac a'i gosodaf hi yn feddiant i aderyn y bwn, ac yn byllau dyfroedd: ysgubaf hi hefyd ag ysgubau dystryw, medd Arglwydd y lluoedd. Fel hyn y dywed yr Arglwydd wrth ei eneiniog, wrth Cyrus, yr hwn yr ymeflais I yn ei ddeheulaw, i ddarostwng cenedloedd o'i flaen ef: ac mi a ddattodaf lwynau brenhinoedd: i agoryd y dorau o'i flaen ef, a'r pyrth nis cauir: mi âf o'th flaen di, ac a unionaf y gwyr-geimion; y dorau prês a dorraf, a'r barau heiyrn a ddrylliaf, ac a roddaf i ti drysorau cuddiedig a chuddfeydd dirgel, fel y gwypot mai myfi yr Arglwydd, yr hwn a'th alwodd erbyn dy enw yw Duw Israel. Mynegwch ym mhysg y Cenedloedd, a chyhoeddwch a chodwch arwydd. cyhoeddwch, na chelwch; dywedwch Goresgynwyd Babilon; gwaradwyddwyd Bel: drylliwyd Merodac; ei heilunod a gywilyddiwyd, a'i delwau a ddrylliwyd; o herwydd digofaint yr Arglwydd nis preswylir hi, eithr hi fydd i gyd yn anghyfannedd: pawb a el

heibio i Babilon a syna, ac a chwibana am ei holl ddialeddau hi: deuwch yn ei herbyn o'r cŵr eithaf, agorwch ei hysguboriau hi; dyrnwch hi fel pentwr ŷd, a llwyr ddinystriwch hi, ac na fydded gweddill o honi. Rhedegwr a red i gyfarfod â rhedegwr, a chennad i gyfarfod â chennad, i fynegi i frenhin Babilon oresgyn ei ddinas ef o'i chŵr. A bydd Babilon yn garneddau, yn drigfa dreigiau, yn syndra, ac yn chwibaniad heb breswylydd."

Cyduna grybwylliad Herodotus a Xenophon, dau genedlhanesydd enwog, am warcheuad a goresgyniad Babilon, yn hollol â phrophwydoliaethau Esaiah a Jeremiah. Dywedant i Cyrus, ynghyd a byddin liosog o'r Mediad a'r Persiaid, warchae ar Babilon; fod y Babiloniaid yn ymddiried yn nghadernid disigl eu mhuriau, a than yr ystyriaeth hyny, iddynt orphwys yn dawel a diymdrech yn erbyn eu gelynion; i Cyrus gynllunio i'w mhaglu trwy droi rhediad yr afon Euphrates i'r llyn mawr, ac wedi i'r afon sychu felly, i'r milwyr fyned i mewn i'r ddinas ar hyd ei gwaelod; fod diofalwch hefyd yn ngwylwyr y ddinas, y rhai oeddynt wedi gadael rhai o'r pyrth yn agored, a rhwng pob peth, i fyddin Cyrus fyned i mewn a chymmeryd y ddinas ar noswaith gwledd eilun-addolgar, gan y dinasyddion, y boneddwyr, y cadbeniaid, y tywysogion, &c., a'u lladd yn ddisymmwth tra yr oeddynt yn feddw; ac mai felly y ddinas enwog yma na chymmerwyd erioed o'r blaen ei goresgyn heb yn wybod i'r brenhin, at yr hwn yr aeth cenhadon i fynegi y newydd, a braidd y cafodd glywed cyn ei rhifwyd yntau gyda y lliaws lladdedigion.

Dechreuodd Babilon ymddirywio yn fuan ar ol hyny: eu mhuriau pen-uchel a wastadwyd hyd y bedwerydd rhan o'u huchder blaenorol; ac o fod yn amherodraeth darostyngwyd hi yn ddinas drethedig. Cymmerodd Xerxes, olynydd Cyrus ar Persia, feddiant o'i holl drysorau a ystyrid yn gyssegredig; yspeiliodd ei themlau, dystrywiodd ei delwau, y rhai oeddynt wedi eu gwneuthur o fettel gwerthfawr.

Ymosododd Alecsander ar y gorchwyl o ddychwelyd Babilon i'w gogoniant arferol, ac a fwriadodd ei gwneuthur yn brif ddinas i amherodraeth gyffredinol. Gosodwyd deg mil o ddynion ar waith i adnewyddu gwrth-gloddiau yr Euphrates, a theml Belus; ond gosododd marwolaeth Alecsander derfyn ar y gwaith. Oddeutu cant a deg ar ugain o flynyddoedd cyn

geni Crist, dinystriodd gorchfygwr Parthiaidd y rhanau tecaf o Babilon. Wedi dechreuad yr oruchwyliaeth Efengylaidd, nid oedd trigolion Babilon ond anaml, ac yr oedd darnau helaethion o dir tufewn i'r muriau wedi eu dwyn dan wrtaith i'w llafurio. Parhaodd Babilon i ymddirywio, a'i hangyfanedd-dra i ychwanegu, hyd onid yn y bedwerydd ganrif ar bymtheg y ffurfia ei mhuriau ffauau a llochesau i anifeiliaid gwylltion i eppilio ac i drigo, ac felly ei gwnaethpwyd yn barc helwriaethol i frenhinoedd Persia. O fod yn ogoniant teyrnasoedd aeth y mwyaf dadfeiliedig, ac ar ol mynediad dwy fil a phedwar cant o flynnyddoedd heibio, wele o flaen llygaid pob ymdeithydd yr olygfa wael yn union fel ei desgrifiwyd gan y prophwydi santaidd,—torrwyd yr enw a'r gweddill o Babilon; nid yw yr Arabiaid yn pabellu, na'r bugeiliaid yn gorlanu yno; ond y bwystfilod ydynt yn gorwedd yno, a'u tai hwynt a lenwir o ormesiaid; lle yw i'r estrys ac i'r dreigiau: y mae yn sychdir ac yn anial—yn fynydd wedi ei losgi—yn wag—yn hollol anghyfannedd—yn llynoedd o ddyfroedd—yn garneddau—wedi ei lwyr ddinystrio—yn dir nad oes ynddo ddyn yn trigo—pob un a â heibio sydd yn synu—yr arswyd ofergoelus rhag ysbrydion drwg yn nghyd ag ofn y creaduriaid gwylltion, a'r dreigiau yn mhlth yr adfeiliau sydd yn cadw yr Arabiaid rhag pabellu a'r bugeiliaid rhag corlanu yno. Nid yw y palasau brenhinol a thrigfannau y ddinas rhyfeddol, Babilon, ond carneddau afluniaidd o bridd-feini a sothach cymmysglyd yn awr! Yn lle ystafelloedd ardderchog, nid oes yn awr ond ogfeydd tywyll, lle yr ymlusga y porcupiniaid, dylluanod, ystlymod, a phob math o greaduriaid hyll a niweidiol. Cyfyd allan oddiyno arogl annymunol, ac wrth y pyrth y mae esgyrn defaid a geifr yn wasgaredig. Mae Birs Nimrod, neu deml Belus, yr hon oedd yn sefyll ar ol dechreuad yr oruchwyliaeth Efengylaidd, i'w chanfod i raddau yn awr. Ymwelwyd â a darluniwyd hi gan amryw deithwyr Seisnig diweddar. Dengys ei gweddillion, i raddau mawr, odidawgrwydd cyntefig y lle; ac er fod y Deml a nodwyd yn adfail er ys cannoedd lawer o flynnyddoedd, y mae ei charnedd yn awr oddeutu 245 o droedfeddi o uchder. Ar yr adfail yma y mae llawer o ddarnau o waith priddfeini toddedig a swniant fel gwydr pan y tarewir hwynt. Oddiar ben y garnedd yma ceir golwg ar weddillion carneddog Babilon gynt, yr hon a fu

unwaith yn ogoniant y teyrnasoedd, ac ni ellir cael golygfa mwy cyflawn ac hollol ar anhyfanedd-dra nag a geir yma. Wrth hyn canfyddwn fod y gwaith godidocaf a mwyaf o eiddo marwolion yn cael ei ddwyn i'r dim, a'u cof-adeiladau uchelaf, eu gallu, eu medrusrwydd, a'u cyfoeth yn cael eu dwyn yn gydwastad â'r llwch, a'r gweddillion carneddog yn cael eu cadw i'r dyben o amlygu a sicrhau tystiolaeth ffyddlon y Duw geirwireddus, fel y crybwyllir yn ei ddwyfol air. Mor rhyfeddol yr ymddengys rhagddywediadau Duw trwy ei weision y prophwydi pan eu cyferbynwn â'r dygwyddiadau y cyfeiriant ein meddwl attynt! Mor eglur y dangosir i ni wirionedd a dwyfoldeb yr ysgrythyrau santaidd! Gyda y fath briodoldeb ardderchog y gesyd y Jehofa anfeidrol ei rhagwybodaeth allan mewn cyssylltiad â'r hyn a ddaeth ar Babilon er enghraifft, ac yn roddi hèr i Dduwiau gau yr holl greadigaeth, ac unrhyw rai o'u pleidwyr, i ddangos unpeth yn gyffelyb! "Pwy a draethodd hyn er cynt? pwy a'i mynegodd er y pryd hyny? ond myfi yr Arglwydd: ac nid oes Duw arall ond myfi: yn Dduw cyfiawn, ac yn achubydd: nid oes ond myfi: yn mynegi y diwedd o'r dechreuad; ac er cynt, yr hyn ni wnaed etto: yn dywedyd, Fy nghynghor a saif, a fy holl ewyllys a wnaf." Esaiah xlv a xlvi.

(*I w barhau.*)

*Alltwen.* W. F. WILLIAMS.

---

## LLAW RHAGLUNIAETH.

O BOB rhyw drefniant sy'n y byd,
Er dwyn i ben gynnil-gamp chweg;
Nis gwelais etto trwyddo 'i gyd.
Un ail i waith rhagluniaeth deg.
O! ddyfnder o oludoedd sydd,
Yn y ddoethineb sydd o Dduw!
Ei gwaith ganfyddir nos a dydd,
Yn nhrefniad pob creadur byw:
O'r lefiathan anferth gawr
Syn chwarae yn yr eigion llaith,
Hyd at y llew rhuadwy mawr
Sy'n gwibiaw trwy'r anialwch maith;
O'r bywydolion welir fry
Trwy'r deg ffurfafen yn mhob man,
O'r eryr craff ar edyn cry'

Hyd yr ymlusgiad llesg a gwan.
Rhwng myrddiwn o drychfilod mân,
Y gwelir ôl ei bysedd cain,
Yn cynnil drefnu ar wahân
Eu cylchoedd i bob un o rhai'n.
Rhwng myrdd amryliw lysiau'r ma's,
Sydd hardd eu gwedd a phur eu sawr,
A'r coed addurnant ddaear lâs
Y gwelir llaw rhagluniaeth fawr;
Aur, arian, mwnoedd, perlau drud,
A'r crynswth o drysorau cudd,
A geir wrth chwilio perfedd byd,
Yn dangos ei chywreindeb sydd;
Trefn sêr, comedau, haul a llo'r,
Trefn y tymmorau y gwlith a'r gwlaw,
Arddengys yr anfeidrol stôr
O allu'r dawn sydd yn y llaw.
Fel hyn trwy'r greadigaeth gun
Gwelir nodau o'i dawn a'i grym!
Ei chynnil waith yn nhrefniad dyn
Sydd etto'n fwy rhyfeddol i'm;
Can's er goresgyn byd gan ddrwg,
A chwerwi bywyd trwy ei bla,
Yn feddyginiaeth in' hi ddwg
O'i thrysor glwys i'n llon wellhâ:
Caed bedydd er maddeuant llawn
Rhag holl bechodau beiau byd,
A'r Ysbryd Glân yn dyst a gawn
O nerth a rhinwedd hwn o hyd.
Golchiadau ac eneinniau pur,
Santeiddiawl ordinhadau'r nef,
A'r mawr ddyddanwch heddwch hir
Sy'n nerthoedd yr efengyl gref.

NATHAN DDU O LYWEL.

---

## TYST ARALL DROS FORMONIAETH.

*Swydd Pentro. Mehefin* 7, 1856.

ANWYL Lywydd Daniels.—Llawer o sôn oedd trwy ein cymmydogaethau ni yma yn swydd Penfro. pan unais gyda phlant a phobl yr Arglwydd, am fy "mhenboethni digyffelyb." Rhai a ddywedent mai effaith myfyrdod yn yr athrofa oedd y cyflawniad o'r weithred hon: ereill a ddywedent mai fy nyben oedd "cael gafael ar *dwyll Mormoniaeth*, er ei ddynoethi i'r cyhoedd;" ond ymunai pawb i ddweyd yn unllais na fyddai

i mi aros mwy nac ychydig ddiwrnodau gyda'r Saint. Eithr erbyn hyn mae amrai fisoedd wedi myned heibio, a pho fanylaf yr ymchwiliaf i. ac y myfyriaf fwyaf ar athrawiaeth y Saint, mwyaf i gyd o'i gogoniant a welaf. Prawf hyn i mi fod gogoniant yn perthyn iddi, ac y dygir y Saint ffyddlon o ogoniant i ogoniant gan Ysbryd yr Arglwydd.

Yn awr, dymunaf hysbysu i'r cyhoedd fy mod yn aros yn ddiogel yn y ffydd santeiddiolaf, ac os yw y llinellau canlynol yn deilwng o'ch sylw, carwn eu gweled yn argraffedig yn "Udgorn Seion."

Mae mawr gariad yn fy mynwes,
  Tuag attat Iesu Glân;
Mae dy yspryb gen'i'n gynhes,
  Ac yn llosgi fel y tân.
Nid tân *dyeithr* fel sectariaid,
  Ond tân cariad pur y nef,
A thrwy gymhorth y dyddanydd,
  Arnat beunydd mae fy llef.

Dywed wrthyf fi fod "Joseph,"
  Yn cyhoeddi'n ddiwyd iawn,
I'r ysbrydion mewn carcharau,
  Rhyddid iachawdwriaeth lawn.
Fe ddaw miloedd medd yr Ysbryd,
  O'r rhai hyn yn rhydd cyn hir;
Cant eu cyrph er trigo ynddynt,
  Draw yn Seion sanctaidd dir.

Dywed wrthw'i garu'r brodyr,
  A'r chwiorydd cryf a gwan,
Dywed hefyd daw yr Iesu,
  'Lawr i'w deml yn y man.
Dywed wrthyf dystiolaethu,
  Dros yr Iesu, gwir Fab Duw,
Fod ei fwyn Efengyl werthfawr,
  'Nawr ym meddiant dynolryw.

Duw gyfrana ei fendithion,
  Yn dystiolaeth i bob un,
Ag a ufyddhant o'r galon,
  I orch'mynion Mab y Dyn.

Nid palfalu mewn tywyllwch,
Gant yn hwy wrth deithio'r llawr,
Ond yr Ysbryd Glân dderbyniant,
Gyda nerth a sicrwydd mawr.

Trwy yr Ysbryd Glân nid ofnwn,
Gwg na gwarth y byd o'r bron,
Ac, "Yn nghanol tân a cherrig."
Meddai pawb, "'Ry'm ni yn llon."
Nid i ni O. Arglwydd grasol,
Ond i Ti y byddo'r clod,
Am anfoniad trefn berffaith,
Er ein lloni is y Rhôd,

Pwy a haera 'n hwy mai twyllwr,
Ydoedd Joseph Smith, gwas Duw?
'Fe dderbyniodd yr allweddau,
Hefyd nerth,—gwirionedd yw.
'R hwn a wado hyn mewn digter,
Gwaded hefyd godiad haul,
'R un drwg ysbryd a'i arweiniai,
I wadu haeddiant Adda'r Ail.

Ond, O! gwybydd ddyn rhyfygus,
Geilw Duw di 'r farn am hyn,
Mewn du garchar cei dy roddi,
Ninnau 'n rhŷdd ar Seion fryn.
Ond diolchwn i'n Tad nefol,
Nid yw 'n rhy ddiweddar 'nawr,
Ac am hyny tâl ufydd-dod,
I orch'mynion Iesu Mawr.

DAFYDD JOHN, *Diweddar o Goleg Hwlffordd.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS.

// UDGORN SEION.

NEU

**Seren y Saint.**

RHIF. 15.] GORPHENAF 19, 1856. [CYF. IX.

## DEGWM.

*(Allan o'r Star.)*

YN y dechreuad, pan y cyhoeddwyd y cynllun mawr er iachawdwriaeth dyn, un, yn mhlith yr amrywiol athrawiaethau neu egwyddorion a ordeiniwyd y pryd hwnw, er cael ei chadw ganddo, oedd, yr un o dalu y degwm o'i eiddo. Ac oddiwrth y gyfraith fawr hon o eiddo y nefoedd y cafodd dynion gyntaf y meddyl-ddrych o godi llôg, rent, &c. ar eu gilydd.

"Y maes yw y byd," ac am gael y defnydd o hono, y mae wedi bod yn ddyledswydd dynolryw bob amser i dalu i'w berchenog ddeg o bob cant o'r oll ag y caniatawyd iddynt gasglu o hono. Mewn amserau diweddarach, pan beidiodd Israel ddyfod â'u degwm i'r ystordy, cyhuddodd yr Arglwydd hwynt am ei yspeilio; *Malaci* iii. 8.

Ni rodda y Beibl ond ychydig wybodaeth ini ar yr un o'r egwyddorion mawrion a blaenaf yn y ffydd Efengylaidd, fel eu daliwyd gan ddynolryw, neu a ddadguddiwyd iddynt yn nyddiau Noah; a dywed mor anfynych ynghylch degwm ag ynghylch unrhyw rhai o'r egwyddorion eraill a ddadguddiwyd er iachawdwriaeth dyn, oddiwrth y cwymp.

Dywed Paul i'r Efengyl gael ei phregethu o'r blaen i Abraham, ac mai yn mhlith yr athrawiaethau pwysicaf a gadwodd oedd yr un o dalu y ddegfed o'i eiddo i'r Archoffeiriad Melchisedec; "Ac efe a roddes iddo ddegwm o'r cwbl;"

*Genesis* xiv, 20. Parhaodd cyflawniad manwl o'r gyfraith hon gan y tadau Patriarchaidd, ac yn Israel, wedi iddynt ddyfod yn genedl. Dangosir pa fodd ei chymhwyswyd at y bobl y pryd hwnw yn y gyfraith a gawsant gan Moses, yr hon a gadwyd yn y modd mwyaf cyssegredig gan bawb a fyddent byw o dan ffafr Duw. Hyd y nod ar ol myned o Israel i droseddu, parhaodd yr ordinhad hon fel prif nodwedd genedlaethol, yn gymmaint ag ei nodwyd gan y Pharisead yn ei weddi fel un o'i weithredoedd da—"Yr wyf yn roddi degwm o'r hyn oll a feddaf."

Meddylia rhai mai pan y daeth Crist y darfyddodd cyfraith y degwm, oddiwrth y ffaith na roddwyd yr un gorchymyn pendant ar a wyddom am dano iddi hi gael ei pharhau. Y reswm na ddysgwyd hi i'r dyscyblion Iuddewaidd oedd yn eglur mai o herwydd fod yr Iuddewon ar y pryd hwnw yn cadw y gyfraith yn fanwl. Os na chymhellodd yr Iesu hi trwy orchymyn, cydnabyddodd hi trwy ei gymmeradwyaeth o honi hi, canys fe ddywedodd wrth y Phariseaid, "Yr ydych yn degymmu y mintys, a'r anis, a'r cwmin, ac a adawsoch heibio y pethau trymach o'r gyfraith: rhaid oedd gwneuthur y pethau hyn, ac na adewid y lleill heibio" Dysgodd yr Iesu i'r Iuddewon faterion trymach y gyfraith a esgeulusent; o ganlyniad ni chlywwn nemawr ynghylch cyfraith y degwm, yr hon a gadwasant yn fanwl. Cawn, yn yr enghreifftiau y cyfeiriwyd attynt eisioes, i'r gyfraith hon, yr un fath ag eiddo ebyrth a phoeth-offrymau, a chyfraith nefolaidd priodas, gael ei rhoddi yn hir cyn i'r Deg Gorchymyn, y rhai ddelir yn gyssegredig gan bawb feibl-gredwyr proffesedig, gael eu rhoddi i Moses yn nghanol taranau a mellt Sinai.

Am hyny, y mae yn gyfraith i bawb dynolryw, wedi cael ei chyflwyno i waered o'r dechreuad, ac wedi ei rhwymo, pe yn ddichonadwy, yn fwy neillduol ar linach yr Offeiriadaeth, ac ar waed Israel, nac ar y gweddill o'r byd, trwy orchymyn a chyfammod pendant. Pan y tynodd Ysbryd Santaidd yr Addewid y llèn oddiar lygaid meddwl Jacob, ac y canfyddodd gyflawniad gogoneddus yr addewidion a roddodd yr Arglwydd iddo—y deuai ei had mor aml a thywod glân y môr, neu sêr y ffurfafen, yr amlheid pethau da y ddaear arno ef a'i hiliogaeth, yn ngyflawnder ei galon efe a ymgyfammododd â'r Arglwydd gan ddywedyd, O'r oll a roddech i mi, gan ddegymmu mi a'i degymu

naf i ti;" *Genesis* xxviii, 22. Trwy hyn mae y gyfraith hon o ddegymmu yn rhwymedig ar holl waed Israel, o herwydd cyfammod neillduol eu tad, Jacob, ac o herwydd gorchymyn diweddarach a roddwyd iddynt trwy Moses, yr hwn, fel y nodasom, a gydnabyddwyd gan Iesu Grist ei hun tra yr oedd Efe ar y ddaear.

Dysga a gweinydda Eglwys Rhufain ac Eglwys Loegr gyfraith y degwm, ac, yn gyffelyb i amrai egwyddorion eraill ag ydynt yn dda o honynt eu hunain, ond eu bod wedi cael eu gwyrdroi gan ddynion i ddybenion drwg, wedi eu cael yn y dechreu oddiwrth orchymynion a roddes yr Arglwydd i'w Offeiriadaeth yn nghyfnodau boreuach ein byd i ddybenion uchel a santaidd. Pan yr ymlygrodd y rhai hyny a ddalient yr Offeiriadaeth hon, ac a ymarferent y cyfreithiau hyn mewn cyflawnder, gwyrdroasant gyfreithiau ac ordinhadau y nefoedd hefyd, a defnyddiasant hwynt i gyflawni eu dybenion hunanol eu hunain, heb ddim parch i'r amcan i'r hwn y bwriadodd yr Arglwydd hwynt. Fel yr ymsefydla Teyrnas Dduw ar y ddaear, yn raddol y mabwysiadir yr holl gyfreithiau a'r ordinhadau hyn, ynghyd ag amryw o rhai pwysig ereill o ba rhai nid oes ddernyn yn y byd yngweddill, ac fe'u dygir i weithrediad er cyflawniad y dybenion i ba rhai yr arfaethodd yr Arglwydd hwynt yn y dechreuad; ac y mae hyn yn cael ei wneuthur a'r degwm yn mhlith y Saint—y mae yn cael ei gymhwyso i'r dyben o sefydlu cenedl o Frenhinoedd ac Offeiriaid i'r Duw Goruchaf, ar y ddaear, trwy adeiladu temlau, &c.

Pan yr adferwyd yr Offeiriadaeth hon drachefn i'r ddaear trwy Joseph Smith, gwnaed y gorchymyn hwn yn rhwymedig ar Israel yn y dyddiau diweddaf. Ni ettifedda unrhyw berson fendithion Abraham, Isaac, a Jacob, byth, hyd oni ddysgant i gadw y gyfraith hon, a gwerthfawrogi y fraint o gael gwneuthur felly. Os na chyflawnant hi byth byddant estroniaid oddiwrth lles cyffredin Israel, a fforffetiant bob hawl i ettifeddiaeth yn nheyrnas Dduw. Yn mhellach dywedodd yr Arglwydd, mewn dadguddiad i Joseph, "Yr hwn fydd wedi degymmu ni losgir; canys ar ol heddyw y daw y llosgfa."

Arddengys triniaethau yr Arglwydd â'i bobl yn mhob cyfnod o amser pan mae yr Offeiriadaeth wedi bod ar y ddaear, ac yn fwy neillduol yn yr oruchwyliaeth ddiweddaf hon, fod c yf-

lawniad o gyfraith y degwm yn angenrheidiol er cyrhaedd i'r radd hyny o iachawdwriaeth ag yr hoff ddysgwylia pob Sant ei mwynhau. Os achubir neb heb ei chadw, bydd "megys trwy dân." Er y dichon iddynt aros eu hunain, bydd eu gwaith megys gwair neu sofl yn nydd y llosgi.

Y mae rhai wedi bod bob amser yn yr Eglwys yn teimlo yn rhy dlawd i dalu i'r Arglwydd ei rhan Ef, a thra yr oedd felly gyda rhai ag oeddynt wir dlodion, yr oedd felly yn fwy gyda y rhai a feddent gyflawnder cyferbyniol. Adgoffa y fath Saint un am gardotyn trachwantus, yr hwn, yn lle bod yn ddiolchgar am yr elusenau a gaffo, a waedda yn daerach am ychwaneg. Hyny yw, cynnnydda eu trachwant yn gyferbyniol i'w foddhad. Os na edifarha y fath rhai, pan ddelo dydd y cyfrif hwy a gant ddyled trwm yn eu herbyn, yr hwn a gant dalu hyd y ffyrling eithaf.

Mae pwysigrwydd cyfraith y degwm yn amlwg ryfeddol yn nhriniaeth yr Arglwydd â'i bobl yn yr oruchwyliaeth hon. Pan yn glaf ac yn gyferbyniol o brin, yn ninas Nauvoo, oddiwrth eu herlidigaethau diweddar yn Missouri, gofynodd yr Arglwydd ei ddegwm oddiwrthynt; ac â'r adlingau crynoedig hyn o eiddo y tlodion yr adeiladwyd Teml a gostiodd myrddiwn o ddoleri, yn yr hon y cyflwynodd yr Arglwydd allweddau uwch yr Offeiriadaeth ar y ffyddloniaid, yr hyn a alluogodd ei weision Ef, erbyn gwaethaf terfysg-luoedd, a gynddeiriogwyd gan lengau o ddieflaid o barthau y tywyllwch, i gynnal ei deyrnas ar y ddaear, a gweinyddu iachawdwriaeth i Israel gwasgaredig.

Yn ystod bywyd y Prophwyd Joseph, a thra yr oedd y Saint yn Nauvoo, cafodd y rhai hyny a dalasant eu degwm freintiau gyda golwg ar freintiau Tŷ yr Arglwydd na chaffai ereill; yn mhlith pa rhai oedd yr un bwysig o fedydd dros eu mheirw.

Ar ol fod y Saint wedi cael eu gyru o Nauvoo, ac eu bod, trwy fendith yr Arglwydd, wedi ymsefydlu yn nyffrynoedd y mynnyddoedd, i raddau helaeth yn ymneillduedig oddiwrth ddylanwadau y Cenedloedd, Efe a ddadguddiodd cyfraith y degwm yn fwy cyflawn iddynt; a chyssegrasant eu hunain, a'u cartref newydd, o'r newydd i'r Arglwydd, trwy gadw ei gyfraith hon yn fwy perffaith. Gofynir i'r Saint yn Seion i dalu eu degwm, ac os oes rhywrai nad ydynt, darfyddant yn fuan i

gael enw yn Israel. Cauir drws Tŷ yr Arglwydd yn erbyn rai o'r fath, a chant eu hunain wedi eu torri ymaith oddiwrth fendithion yr iachawdwriaeth—oddiwrth yr unig gyfrwng trwy ba un y gallant ddyfod yn Iachawdwyr ar Fynydd Seion, iddynt eu hunain, i'w hiliogaeth, ac i'w mheirw.

Angenrhaid oedd cael cyfraith a ofynai aberth yn Israel gynt er eu cadw mewn cof am eu Duw; ac y mae yr un mor angenrheidiol yn Israel yn awr er eu hadgoffhau yn barhaus oddiwrth pwy y derbyniant eu bendithion. Oni buasai fod y Saint yn cael eu galw yn barhaus fel yma i aberthu rhan o'u golud bydol, yr hwn eu dysgwyd i'w alw yn eiddo eu hunain, eithr yr hwn mewn gwirionedd a berthyna i'r Arglwydd, elent yn dew a chicient, ac anghofient yn fuan fod Teyrnas Dduw i gael ei sefydlu ar y ddaear, neu ei fod yn angenrheidiol iddynt wneuthur rhywbeth er cael ettifeddiaeth ynddi.

Yn gyferbyniol i'r graddau ag y mae Saint y gwledydd hyn wedi cynnyddu mewn gwybodaeth a ffydd, y mae yr awydd wedi cynnyddu yn eu calonnau i ymdebygoli fwy-fwy o hyd yn eu gweithredoedd, yn ogystal ag yn eu ffydd a'u teimladau, i'w brodyr a'u chwiorydd yn Seion; ac felly mae rhan aml o honynt wedi ymbarotoi i dderbyn cyfraith y degwm. Caniatasom i amryw o'r brodyr yn y weinidogaeth i'w derbyn i mewn yn eu maesydd llafur, er's amryw fisoedd yn ol, ac y mae cynnifer o'r Saint yn y Cynnadleddau lle ei dygwyd i mewn wedi ymafaelyd ynddi yn eu ffydd a gweithio arni, ac wedi tystiolaethu mor aml am yr aml fendithion a dderbyniasant trwy ei chadw, hyd nes y cymhellwyd ni, gan yr Ysbryd Glân, i gymhell yr holl Gynnadleddau i fabwysiadn y gyfraith hon yn weithredol; a dywedwn wrth bawb a fyddant ffyddlon mewn gwneuthur felly, hwy a gryfheir yn y ffydd, cant adnewyddiad yr Ysbryd Glân arnynt, a derbyniant gynnyddiant mawr o fendithion yr Arglwydd. Pan yr ymgasglant adref i Seion canfyddant iddynt fod yn gwneuthur gwaith rhagddarpariadol yma, yr hwn fydd wedi eu haddasu i gadw yn berffeithiach gyfraith yr Arglwydd yno—i fabwysiadu gyda mwy parodrwydd na phe byddent wedi gwneuthur fel arall, y mesurau a garir allan yno, trwy ba rai y derbynia y ffyddloniaid santeiddhâd a bendith.

Ni ofynwyd degwm oddiwrth neb yn y wlad hon, ond y rhai

hyny a feddent fwy na anghenent i'w hymfudo hyd yn hyn. Dylai pob degwm o'r fath yma gael ei anfon i'r Swyddfa hon fel arfer, fel y caffo y personau a'i talo *gredit* am dano yn mhrif Swyddfa y Degwm yn Ninas y Llyn Halen Mawr; ond bydd pob degymau a fyddant am lai na £10 o dan drefniadau a rheolaeth y Cynnadleddau yn mha rhai eu telir, yn ol cyfarwyddiadau y rhai a fyddant drostynt yn yr Offeiriadaeth. Allan o hono y dylid taln y costau fo'n myned ar y Cangenau a'r Cynnadleddau, cynnal yr amrywiol gasgliadau, ac, wedi y telir y swm ofynedig at y Deml, fe ellir cymhwyso y gweddill at y cyfryw amcanion ereill a'u gofynant, er lledaeniad yr Efengyl a chasgliad Israel, Hyderwn na cholla neb olwg ar bwysigrwydd y D. Y. Barhaus, eithr bydded y taliad at y Deml ac ymgasgliad y tlodion y ddwy brif ystyriaeth.

Tra yn llafurio yn y wlad hon, derbyniasom lythyron oddiwrth frodyr a berchenogent fwy neu lai o feddiannau, yn hysbysu nad oeddynt fel pe yn mwynhau ffrwythau yr Ysbryd, nac yn meddu y llawenydd hwnw yngwaith yr Arglwydd ag yr ymddangosai fod eu brodyr yn derbyn. Yn y mwyafrif neu yr oll o'r achosion hyn, ceir allan nad yw y dynion hyn wedi talu i'r Arglwydd y rhan hyny o'u mheddiannau a berthynant iddo, a gofynem iddynt pa hawl oedd ganddynt i ofyn na dysgwyl i'r Arglwydd eu bendithio â bendithion dewisol ei Ysbryd, ynghyd a datguddiad, gwybodaeth, a doethineb, a gallu i achub eu hunain a'u teuluoedd, yn nydd y brofedigaeth, os nad oeddynt foddlon i dalu iddo Ef hannerau pethau y byd hwn a honai oddiar eu dwylaw. Os nad edifarha y fath ddynion am yspeilio o honynt yr Arglwydd, gan ddyfod yn uniawn tuag attynt eu hunain, y Saint, a thuag atto Ef, buan y collant yr ychydig oleuni a feddant yn awr, ac ymrhoddant i galedwch calon a dallineb meddwl, gwrthgiliant, ac ant lawr i farwolaeth.

Wrth derfynu ar y pwnc hwn dymunem agoffhau y Saint y dylent edrych yn mlaen yn barhaus, â llygad ffydd, at yr amser pan y byddant wedi casglu adref, lle y dysgwylir iddynt fyw yn unol ag uwch gyfraith cyssegriad, yr hon sydd yn cael ei mabwysiadu yn awr gan y Saint yn Seion, a'r hon y gofynir i bawb ar y tir hwnw ei chadw os ydynt am gyrhaedd gogoniant a derchafiad y deyrnas nefol.

## LLYTHYR DIHUDDIANT AT Y LLYWYDD DANIEL DANIELS.

*Rhymni, Gorphenaf* 12, 1856.

ANWYL LYWYDD DANIELS,—Yn gydsyniol â'r hyn a ysgrifenodd J. Jones, ychwanegaf fy mod yn hollol gydymffurfio â barn y Llywydd Spenser yn Nghynghor Merthyr, ac nid wyf yn gweled yn awr y gallesid gwneyd yn well o dan yr amgylchiadau; felly, yr ydwyf yn gofyn maddeuant Duw a'i Eglwys am fy holl gamweddau, ac yn deisyf lle etto. pe na fyddai ond y gwaelaf, yn Eglwys Dduw, ynghyd a rhan yn eich gweddiau ar i mi barhau yn ffyddlon ynddi.

Ydwyf, eich gostyngedig was,

WM. SIMS.

[Ein pleser yw canfod effeithiau daionus yr Ysbryd hwnw sydd yn ymdrechu gyda dyn cyhyd ag y byddo rhyw obaith am welliant hyd oni waedda cyfiawnder, "Gad iddo," Da genym ddeall nad achos o'r fath hyny ydyw un W. S., eithr ei fod wedi gwrandaw ar lais dystaw main Ysbryd mwyn y Duw hirymarhous, a thrwy ei oleuni wedi dyfod i gydweled a'r Llywydd Spenser ynghylch ymddygiad y Llywydd Jones yn y mater dan sylw. Y penderfyniad ag y daeth y Llywydd Spenser iddo oedd, "fod y Brawd Jones wedi ymddwyn yn ddyngarol, haelionus, uniawn ac onest, a dangos ei hun yn ymgeleddwr yr amddifaid, ar ei gost ei hun, (fel y gwyddom ni yn dda,) a pheryglu ei enw da. Gwyddom hefyd mai cyfaill penaf W. S. fyddai y Br. Jones, pe byddai yma i weled y cyfnewidiad. Yr Arglwydd a fendithio W. Sims, fel y byddo mor ffyddlon ag y gwelsom ef unwaith o'r blaen, ac yn ffyddlonach hefyd, fel yr ennillo ogoniant yn nheyrnas Dduw yw gweddi y—*Gol.*]

---

RHYDDID CREFYDDOL. Rhaid yw i ryddid gwladwriaethol a chrefyddol agor y ffordd i bregethiad yr Efengyl, yn mhob cenedl, ac yr ydym yn llawenhau wrth weled ffyrdd newyddion yn agor yn barhaus i'w mynediad i blith cenedloedd yr hen fyd. Trwy y rhyfel ddiweddar mae rhyddid crefyddol wedi cael ei ganiatau yn Nhwrci. Effeithia hyn hefyd ar gasgliad yr Iuddewon, a phrynedigaeth gwlad yr addewid.—*Star.*

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

DYDD SADWRN, GORPHENAF 19, 1856.

Y DEGWM.—Yn y rhifyn hwn gwelir sylwadau ein Llywydd F. D. Richards, yr hwn sydd yn Apostol i Iesu Grist, ar y pwnc yma. Fe'u derbynir yn llawen ac fe werthfawrogir eu gwrthddrych gan bob un sydd a'i fryd ar adeiladu Teyrnas Dduw, a chael iachawdwriaeth ynddi; ac ni wela unpeth a allo yn ormod i wneuthur er ei mwyn, tra y dichon i'r byr ei olwg a'r cul ei galon beidio edrych tuhwnt i'w dybiedig fwynhad presennol na theimlo i wneuthur cymmaint. Rhaid yw hau cyn y medir, ac ni feda y naill y cnwd a hauodd y llall. Mae y ffarmwr yn ddigon llygad-agored i weled nad colli yr had a haua y mae, ond yn darparu am gael cant cymmaint yn y flwyddyn ddyfodol. Nid yn unig ettifeddiaeth ar y ddaear adferedig, o dan deyrnasiad ein Harglwydd Iesu Grist, a ddysgwylia y Sant ffyddlon, ond bendithion a chynnorthwyadau *presennol* tra yn ymwneyd a'r gwaith. "Gwaith yw hwn sydd *rhaid* ei orphen," meddai un emyn a ganwn : po fwyaf a wnawn po gyntaf ei gwblhawn ynte; a'r "hwn ni weithio, na fwytaed ychwaith." Mae Seion i'w chwbl adeiladu, Teyrnas Dduw i'w hollol sefydlu, Israel i'w lwyr gasglu, satan i'w lwyr orchfygu, yr Iesu i hollol deyrnasu, a'r byd syrthiedig i'w lwyr waredu. "Hawddach yw dweyd na gwneyd," medd hen wir ddiareb, ac mae y blaenorol yn ddywediad mawr; ond pa faint mwy yw y cyflawniad o hono? Mae y gwaith hwn eisioes wedi costio gwaed goreu y bedwerydd ganrif ar bymtheg, ac ymdrechion celid chwe' mlynedd ar ugain o amser, er ei gyflawni mor belled. Erlid a dirmygu, lladd a llosgi, carcharu a gwialenodu, plannu ac adeiladu, hau a medu, teithio a phregethu, symmud ac ail sefydlu ydynt wedi bod yn rhai o brif nodweddau ein gelynion a'n hunain yn y cyfamser. Aeth amrai o'r hen wroniaid—y *pioneers*—y rhai a fuont megis yn "torri yr iâ," tuhwnt i'r llèn

i orphwys oddiwrth boen a gofid marwoldeb, ac wele ddwylaw newyddion yn ymaflyd yn y gorchwyl. Mae'n ffaith hefyd fod Satan hyd yn hyn heb gael ei rwymo na'i deyrnas ei dryllio: a ydyw yn debyg ynte y cawn ninnau dywydd teg ac amser segur yn amgenach na'n rhagflaenwyr? Nid oes segurwyr i fod yn nheyrnas Dduw; canys nid uu ansylweddol fel eiddo sectariaid ydyw hi: cynnwysa heblaw brenin, a deiliaid, a chyfreithiau a swyddogion, drefydd a phentrefydd, tai a thiroedd, dinasoedd a themlau. A cherrig sylweddol dannedd anferth greigiau yr adeiledir tai a themlau, a rhaid yw en cloddio a'u cludo. A phylor haiarn a phlwm a nerth breichiau yw y ffordd gyffredin i ddryllio teyrnasoedd, ac â phridd a cherrig yr adeiledir amddiffynfeydd. Ar ol i Israel wneuthur ei oreu ei hunan y daw Duw i'r maes â'i daranau, ei fellt, a'i genllysg i gyflawni y diffyg. Mewn ager-gerbydau, llongau, wagenau, dauolfenni, &c., yr ymgasgla Israel hyd oni ddanfona Duw ei angylion i gyflawni y diffyg. At yr holl bethau yma mae yn ofynol cael gweithwyr, nwyddau, arian, &c. Darllenwn mai â degwm y Saint y cyfiawnir pethau fel yma yn Seion, ac wele ninnau yma yn cael cynnyg ar yr un fraint annhraethadwy. Pwy na hauai yn awr tra parhäo tymhor amser, fel y medo anchwiliadwy olud Crist yn nhragywyddoldeb?

---

TALAETH DESERET.—Mae treigliadau y "garreg a dorryd o'r mynnydd" yn gyffelyb i eiddo pellen eira yn ei gwneuthur yn wyfwy o hyd: o fod yn chwech o aelodau aeth yn gymmydogaeth, yna yn sefydliadau a changenau ac yn ddinas; ac wedi hyny, trwy haelionu ei gelynion yn cymmeryd y drafferth yn wirfoddol o'i threiglo allan o ddinas Nauvoo, aeth yn Diriogaeth Utah. Wele Formoniaeth yn lle "darfod a marw," a'r Mormoniaid yn lle "anamlhau, ymwasgaru a newynu" yn "ffrwytho ac amlhau ac yn llanw y ddaear." Rhwng yr ymfudwyr o wledydd pellenig, yr aml ymfudwyr bychain o'r byd arall, a'r rhai oeddynt yno eisioes, mae nifer digonol i honi llywodraeth rhydd ac anymddibynol eu hunain, yn unol ag hawlfreintiau y fam-lywodraeth fawr sydd yn taflu ei mhantell amddiffynfäol dros yr holl Daleithiau, a'u cyssylltu yn un teulu. Pan gaffont eu derbyn i'r Gyfundeb megis Talaeth, gwel ein

darllenwyr wrth y erthyglau cyfieithedig yn y rhifyn hwn, y byddant yn dewis eu llywodraethwr, ac yn gwneuthur eu cyfreithiau eu hunain. Pryd hyny y daw breintiau a chospedigaethau cyfreithiau Duw mewn grym, megis ag yn Israel gynt. Yna gorfoledded y cyfiawnion,—y rhai a hiraethant am weled ewyllys Duw yn cael ei gwneuthur ar y ddaear megis ag y mae yn y nefoedd. ac ymddychryned ac ymswyned y troseddwr a'r drwg ei fwriad; canys gosodir barn wrth linyn, a chyfiawnder wrth bwysau, ac ni adewir na gwraedd na changen i'r annuwiol yn Seion, lle y daw i drigo yr Hwn sydd megis tân y toddydd, a sebon y golchyddion. Dichon mai ar ol y dechreuo barn yn nhy Dduw, ac yr ymiawnir pethau yno, y gorchymynir i Seion gyfodi yn ei rhwysg mawreddog a'i grymusder, ac â'i chorn haiarn a'i charnau prês ddryllio cenhedloedd lawer. Onid ein braint ynte yw cael cyfleustra i fyw yn unol a rhai o'r cyfreithiau lleiaf yn awr, fel yr addasom ein hunain i dderbyn rai sy'n uwch: ac onid yw yn amlwg os nad allwn gadw y rai hyn mai dinasyddion gwael fyddem yn Nhalaeth Deseret?

---

## FFURF-LYWODRAETH TALAETH DESERET.

*(O'r "Deseret News.")*

### RHAGLITH.

Gan fod holl ddinasyddion yr Unol Daleithiau a chanddyn hawl warantedig gan y Ffurf-lywodraeth i wneuthur y cyfreithiau hyny wrth ba rai eu llywodraethir; a

Chan, yr ymddengys oddiwrth fynegiad cyfrifiadol, a wnaed yn ganlynol i weithred y wneuthurfa ddiweddar fod Tiriogaeth Utah yn meddu poblogaeth o nifer ddigonawl i'w cyfiawnhau yn honiad eu hawliau i'r fraint anmhrisiadwy hon;

Gan hyny, nyni, y bobl ddiolchgar i'r Bod Goruchel am y mwynhad o fywyd a thrugaredd, yn teimlo ein hymddibyniad arno Ef am barhad o'r cyfryw fendithion, ydym yn ordeinio a sefydlu y ffurf-lywodraeth a ganlyn:—

### ERTHYGL I.

*Terfyn ac Enw.*

Dos. 1. Yr holl ran hono o Diriogaeth yr Unol Daleithiau a

adnabyddir yn awr fel Tiriogaeth Utah, ac yn derfynedig fel y canlyn, sef:—O'r gorllewin gan dalaeth California, o'r gogledd gan Diriogaeth Oregon, o'r dwyrain gan drum y Mynnyddoedd Creigiawg, ac o'r deau gan 37ain cyfochriad o'r lledred gogleddawl, sydd wrth hyn yn cael ei ffurfio yn Dalaeth rydd a phenadurawl, ac a enwir Deseret.

## ERTHYGL II.

### *Mynegiad Hawliau.*

Dos. 1. Mewn gwerin-lywodraethau dylai pob dyn feddu ei hawliau naturiol, yn mhlith y cyfryw mae mwynhad ac amddiffyniad o'u bywyd a'u rhyddid, cyrhaeddiad. perc enogiad ac ymgeleddiad meddiant, ac o gaffaeliad a c'yrhaeddiad eu diogelwch a'u hapusrwydd.

Dos. 2. Mae pob gallu llywodraethol yn gynhenid yn y bobl, a phob rhydd lywodraethau a sylfaenir yn eu hawdurdod ac a sefydlir er eu llesiant; gan hyny mae ganddynt hawl anaralladwy ac anniddymadwy i sefydlu llywodraeth, ac i arallu, diwygio, neu hollol gyfnewid yr unrhyw, pan fyddo eu diogelwch, eu dedwyddwch, a'r daioni cyffredin yn gofyn am hyny.

Dos. 3. Pawb dynion a gant hawl naturiol ac anaralladwy i addoli Duw yn unol ag eirchion eu cydwybodau eu hunain; ac ni wna yr Ymgynnullfa Gyffredinol un gyfraith gyda golwg ar sefydliad o grefydd neu waharddiad yr rhydd ymarferiad o honi, neu i aflonyddu unrhyw ddynsawd yn ei addoliad, neu ei syniadau crefyddol, a phawb a ymddygant yn heddychlawn, fel aelodau da o'r Dalaeth hon, a fyddant yn gydradd o dan amddiffyniad y cyfreithiau; ac israddoliaeth neu ragoriaeth unrhyw sect neu enwad i'r llall ni sefydlir byth trwy gyfraith, ac ni fydd un prawf crefyddol byth i gael ei ofyn am unrhyw swydd neu ymddiried o dan y ffurf-lywodraeth hon.

Dos. 4. Unrhyw ddynsawd o'r Dalaeth hon yr hwn rhagllaw a ymrwymo yn uniongyrchol, neu yn anuniongyrchol, mewn ornest, (*duel*) naill ai fel blaenorydd neu gyfranogydd o flaen y weithred, a anghymhwysir o ddal unrhyw swydd dan y Ffurf-lywodraeth a chyfreithiau y Dalaeth hon.

Dos. 5. Gall pob dyn lefaru, ysgrifenu, neu gyhoeddi ei syniadau ar bob pwngc, gan fod yn attebol am y camddefnydd

o'r hawl hono; ac ni phasir un gyfraith i gwttogi y rhyddid o ymadrodd neu o'r wasg.

Dos. 6. Y bobl a fyddant yn ddiogel yn eu personau, tai papyrau, a meddiannau oddiwrth chwiliadau ac atafaeliadau afresymol.

Dos. 7. Yr hawl o dreial drwy reithwyr a erys yn ddihalog, a phob carcharor a erglywir drwy ei hunan, neu gynghor wrth ei etholiad ei hun; ac ni ddelir un dyn i atteb prif neu mewn ystyr arall drosedd cywilyddus, oddieithr ar gwyn-gyhuddedd yr uchel reithwyr, ac ni fydd un dyn yn rhwymedig am yr un trosedd i gael ei osod ddwywaith mewn perygl o fywyd neu aelawd, na'i orfodi mewn unrhyw achos o drosedd i fod yn dyst yn ei erbyn ei hunan.

Dos. 8. Pob dirywon a chospedigaethau a fyddant yn gyfartal i'r trosedd; a phob troseddiadau cyn dyfarniad a fyddant yn fechniadwy, oddieithr prif droseddiadau, lle y byddo y prawf yn eglur, neu y rhyfyg yn fawr. Mechniaeth anghymedrol ni fydd yn ofynedig.

Dos. 9. Ni ddodir heibio ysgrif *Habeas Corpus*, oddieithr mewn achos o wrthryfel neu ymosodiad, neu pan fyddo diogelwch y cyffredin yn galw am hyny.

Dos. 10. Teyrnfradwriaeth yn erbyn y Dalaeth hon sydd yn sefyll yn unig mewn codi rhyfel yn ei herbyn, neu ymlyniad â'i gelynion, neu roddi iddynt gymmorth a chysur.

Dos. 11. Ni phasia y Gyd-Gynghorfa ysgrif cyhuddiad, neu gyfraith *ex-post-facto*, neu gyfraith yn lleihau rhwymedigaeth ammodau.

Dos. 12. Ni roir y gyfraith o'r neilldu ond trwy awdurdod deddfarnawl.

Dos. 13. Yr hawl o ddeisebiaeth gan y bobl a gedwir yn dilwgr.

Dos. 14. Hawl dinasyddion i gadw a dwyn arfau er amddiffyniad cyffredin ni amheuir.

Dos. 15. Meddiant personol ni chymerir i'r gwasanaeth cyffredin, heb iawn gyfiawn.

Dos. 16. Ni chedwir i fyny fyddin sefydlog yn y Dalaeth hon yn amser heddwch, a'r milwyr a fyddant bob amser ym mhob lle mewn israddoliaeth gaeth i'r gallu gwladawl.

Dos. 17. Y cyfrifiad o ryw hawliau neullltuol nis dehonglir er cwttogi neu wadu eraill a gedwir gan y bobl.

ERTHYGL III.

Galluoedd llywodraeth Talaeth Deseret a renir i dair sefyllfa wahanol, sef:—Deddfwrawl, Cyfiawniadawl, a Barnawl.

ERTHYGL IV.

*Am Ddeddf wneuthurawl.*

Dos. 1. Y gallu deddfwrawl a leianir mewn Cyd-Gynghorfa yn gynnwysedig o senedd a thŷ cynrychiolwyr, aelodau pa rai a etholir gan y bobl.

Dos. 2. Cymanfaoedd gwladwriaethol y Gyd Gynghorfa a fyddant yn flynnyddol hyd oni ddarperir yn amgen drwy drefniad deddfwrawl: a'r gymanfa wladwriaethol gyntaf a ddarperir yn ol hyn yma.

Aelodau tŷ y cynrychiolwyr a ddewisir yn ddwy-flynyddol, gan etholwyr cyfaddasedig eu rhandiroedd neillduol, amseriad swydd y rhai fydd i barhau ddwy flynedd o ddydd eu hetholiad.

Dos. 4. Seneddwyr a ddewisir yn yr un modd a'r cynrychiolwyr, amseriad swydd y rhai sydd i barhau pedair blynedd o ddydd eu hetholiad.

Dos.5. Ni cha un dyn fod yn aelod o'r Gyd-Gynghorfa heb iddo fod yn ddyn rhydd, gwŷn, dinesydd gwrywaidd, o'r Taleithiau Unedig, ac yn drigiannydd o'r Dalaeth hon un flwyddyn yn flaenorol i amser ei etholiad, a chanddo ar ei etholiad artref gwirioneddol yn yr ardal y caffo ei ddewis i'w gynrychioli.

Dos. 6. Bydd gan y Gyd-Gynghorfa allu i ragnodi y nifer a gwneud appwyntiad o seneddwyr a chynrychiolwyr; gan ddarpar, na fydd nifer y seneddwyr ddim yn llai na'r drydedd ran nac yn fwy na hanner nifer y cynrychiolwyr; ac ar ei chymanfa wladwriaethol gyntaf y Gyd-Gynghorfa a renir wrth goelbren mor gyfartal ag y geill i ddau o ddosbarthiadau, eisteddleoedd y cynrychiolwyr o'r dosbarth uchaf a wagheir ar y terfyniad o ddwy flynedd.

Dos. 7. Pob tŷ a ddewisa ei swyddwyr ei hun, ac a farna gymhwysder, etholiad, a dychweliad ei aelodau ei hun.

Dos. 8. Y mwyrif o bob tŷ a gyfansoddant gorwm i

wneuthur gorchwyliaeth; ond y nifer llai a allant oedi o ddydd i ddydd, a chymmell gweinyddiad aelodau absennol, yn y fath fodd a than y fath gospedigaeth ag a ddarperir gan bob tŷ.

Dos. 9. Ca pob tŷ bob gallu angenrheidiol am gangen o gyd-gynghorfa o lywodraeth rydd ac anymddibynawl.

Dos. 10. Pob aelod o'r Gyd-Gynghorfa a ragorfreintir rhag bod o dan ddalfa cyfraith y wlad dros barhad y gymanfa wladwriaethawl, ac wrth fyned i a dyfod o yr unrhyw.

Dos. 11. Ni cha y naill dŷ, heb ganiatad y llall, addoedi dros fwy na thri o ddyddiau, nac i unrhyw le arall na hwnw yn mha un y gallant fod yn eistedd.

Dos. 12. Aelodau y Gyd-Gynghorfa a gymmerant lŵ neu sicrhad i attegu Ffurf-lywodraeth y Taleithiau Unedig, a'r Dalaeth hon, pa un a weinyddir gan y naill y llall, neu gan ryw ddyn y fyddo wedi ei gyfaddasu i weinyddu llwon.

Dos. 13. Gallu prawf y Llywodraethwr a ganiateir gan y Gyd-Gynghorfa, oddieithr o'r ysgrifau y rhai pan wedi eu hail ystyried a gant eu pasio drachefn drwy fwyrif o ddwy ran o dair, ac unrhyw ysgrif brofedig gan y Llywodraethwr a ddychwelir o fewn deg diwrnod (Suliau yn eithriad) gyda ei wrthebion, os amgen daw yn gyfraith, oddieithr i'r Gyd-Gynghorfa, drwy addoediad, attal ei dychweliad.

Dos. 14. Pob cyfraith a basir gan y Gyd-Gynghorfa a gymmer le o ac ar ol ei chyhoeddiad, os na fyddir wedi darparu modd arall ar amser ei sefydliad.

Dos. 15. Ar yr etholiad cyntaf wedi y cymmero y Ffurflywodraeth hon le, pleidleiswyr y Dalaeth hon a etholant yr un nifer o seneddwyr a chynrychiolwyr ag ydynt yn awr wedi eu hethol i Gydgynghorfa Talaeth Utah, ac yn ol y cyfartalraniad presennol.

Dos. 16. Gallu deddfwrawl Cydgynghorfa y Dalaeth hon a gyrhaedda i bob pwngc o gyfreithlon lywodraethiad yn gysson a Ffurf-lywodraeth y Taleithiau Unedig ac a'r Dalaeth hon.

## ERTHYGL V.

### *Am y Gyflawniadol.*

Dos. 1. Gallu cyflawniadol a lianeddir yn y Llywodraethwr, amseriad swydd y cyfryw a fydd am bedair blynedd. Rhaglaw

Llywodraethwr a ddewisir yr un pryd, ac am yr un amseriad yr hwn a fydd yn Lywydd y senedd.

Dos. 2 Ni fydd undyn yn ddewisadwy i'r swydd o Lywodraethwr, neu Raglaw-lywodraethwr, yr hwn na fu chweeh flynedd yn ddinesydd o'r Taleithiau Unedig, ac yn drigianydd o'r Dalaeth hon bedair blynedd rhagflaenol nesaf i'w etholiad.

Dos. 3. Y Llywodraethwr fydd ben-llywydd y meiwyr, llynges, a holl fyddinoedd y Dalaeth hon.

Dos. 4. Efe a drefna bob gorchwyliaethau cyflawniadawl gyda swyddwyr y llywodraeth, yn wladol a milwrawl, ae a all ofyn hysbysrwydd mewn ysgrifen oddiwrth swyddogion y swydd gyflawniadol ar unrhyw bwngc perthynol i'w gwasanaeth yn eu swyddogaethau neillduol.

Dos. 5. Efe a wel ar fod y cyfreithiau yn cael eu ffyddlawn gyflawni.

Dos. 6. Pan delo unrhyw swydd oddiwrth unrhyw achos yn wag, na fyddo trefn wedi ei rhagnodi gan y Ffurf-lywodraeth a chyfreithiau er llanw y gwagle, y Llywodraethwr a ga allu i lanw y cyfryw wagle trwy appwyntiad ac awdurdod, yr hyn a dderfydd pan y llenwir y gwagle hwnw gan ddilynad dyledus y gyfraith.

Dos. 7. Efe hefyd a ga allu i alw ynghyd y Gydgynghorfa trwy gyhoeddiad, pan yn ei dyb y byddo llesiant y Dalaeth yn gofyn hyn.

Dos. 8. Efe a gylafaredda trwy gennad i'r Gydgynghorfa ar bob cymanfa wladwriaethol sefyllfa y Dalaeth, ac a gymmeradwya y fath fesurau ag y fyddo ef yn ei ddoethineb yn farnn yn fuddiol.

Dos. 9. Mewn achos o anghyttundeb yn y Gydgynghorfa gyda golwg ar amser addoediad, bydd gan y Llywodraethwr allu i ollwng y Gymanfa wladwriaethol trwy gyhoeddiad.

Dos. 10. Ni cha un dyn, tra yn dal unrhyw swydd enillfawr dan y Taleithiau Unedig neu y Dalaeth hon, gyflawni y swydd o Lywodraethwr, oddieithr fel y rhagnodir gan gyfraith.

Dos. 11. Y Llywodraethwr a ga allu awdurdodol i roddi llythyron dienoed, (*reprieves*,) a phardynau, a newidio cospedigaethau ar ol dyfarniad, oddieithr mewn achosion o gyhuddedigaeth.

Dos. 12. Fe fydd sêl y Dalaeth hon yr hon a gedwir gan y

Llywodraethwr, ac a ddefnyddir ganddo ef yn Swyddogawl, ac a elwir " Sêl Fawr Talaeth Deseret,"

CYF. DEWI ELFED JONES.

## HYSBYSIADAU, &c.

MAE y Llywyddion Orson Pratt ac Ezra T. Benson wedi cyrhaedd i Loegr. Mae gwahoddiad taer ar bawb Llywyddion Cynnadleddau a ddeallant Saesneg i'w cyfarfod mewn Cynghor Cyffredinol Neillduol a gynnelir yn Birmingham, Dydd Llun nesaf, yr 21ain. Cynnelir Cymmanfa yno y fory, yr 20fed.

☞ APWYNTIWYD yr Henuriad John Jones o Ferthyr, (Brycheiniog gynt,) i deithio trwy Gynnadleddau y Gogledd, i bregethu i'r byd ac addysgu y Saint, yn ol fel y bydd yn gyfleus iddo. Y mae yn llawn o ysbryd y gwaith, ac yn debyg o wneuthur mawr les; am hyny derbynied y Saint ef ac ymddygent yn ol hyny atto. Mae yr Henuriad Dewi Elfed Jones hefyd wedi cael ei apwyntio i deithio trwy y Cynnadleddau Deheuol. Dywedwn yr un peth am dano yntau.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O MEHEFIN 20 HYD GORPH. 16.—T. Stephens, £4 3s 9c; E. S. Morgans, 11s 11c; W. Jones, 5s; J. Jones, 10s 7c; T. Rees, 9s; J. Treharn, 12s 6c; T. Jones, 5s; J. Davies, £3.

☞ O ddiffyg lle gorfodwyd ni i adael allan y cyfrif o'r dyledion am lyfrau, a'r Cynrychioliad Hanner-blynnyddol o herwydd na ddanfonodd y Llywyddion a'i danfonasant i Lerpwl gopi o hono yma. Ceir amryw newyddion da yn ein nesaf.

CYNNWYSIAD. TUD.




ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 16.] AWST 2, 1856. [CYF. IX.

## LLYTHYR Y LLYWYDD BRIGHAM YOUNG.

*Swyddfa y Llywydd,*
*Dinas y Llyn Halen Mawr,*
*Ebrill* 11, 1856.

YR Henuriad Franklin D. Richards.

Anwyl Frawd—Boddhawyd ni yn fawr ar yr ail o'r mis hwn trwy gyrhaeddiad eich llythyr am Tachwedd 25 a 30 diweddaf, yn cynnwys y newydd croesawus bod fy eiddo i ar y bryn, ac eiddo eraill wedi cael ei gymmeryd, er elw i weithrediadau Cwmpeini y D. Y. Barhaus yn y tymhor dilynol. Llawenhawn bob amser yn y meddylddrych o ein bod rhywfodd yn offerynol i dreiglio gwaith y dyddiau diweddaf rhag ei flaen,—adeiladu Seion, a chasglu Israel o'u hir wasgariad. Teimlwn ein bod wedi cael ein hanrhydeddu a'n cymmwynasu trwy gael y fraint yma, a gwerthfawrogwn hi fel y fraint fwyaf a allesid ein hanrhegu â hi.

Mae bod yn genhadon y nef oruchel at y rhai a eisteddant mewn tywyllwch, gan ddwyn goleunu a dealltwriaeth, iachawdwriaeth a derchafiad i feddyliau tywyll dynolryw, yn genadiaeth ag y geill y mwyaf mawreddog yn mhlith y mawredigion ymfalcheuo yn ei chaffael, ac yr ydwyf wedi ystyried bob amser nad oedd yr oll a allem gyflawni ond ein rhesymol wasanaeth a'n braint, Mae i'm brodyr tlodion roesaw wrth yr ol

a allaf i ei wneuthur tuag at wellhau eu cyflwr, ac yr ydwyf yn dymuno pe meddwn y gallu i wneuthur cant, ïe, deg canwaith cymmaint ag a wnaethym hyd yma, byddai yn bleser imi, ac mor rhydd a'r awyr a anadlwn. Dymunaf pe gallwn gymhwyso y gweddill o'm eiddo yn yr un ffordd, ac yna elwn i weithio a chasglu chwaneg; gwerthwn yr oll a feddwn, a chymmwyswn y moddion at adeiladu a threiglio yn ei blaen deyrnas ein Duw, pe caffwn y cyfleustra i'w wneuthur.

Gobeithiaf fod y gweddill o'r gyfrestr a anfonwyd wedi cael ei gymmeryd erbyn hyn, ac y derbyniwch, neu yn hytrach eich bod erbyn yr amser diweddar hwn wedi derbyn yr arian gan y brawd Tenant am fy eiddo i, yn ogystal a'r cynnorthwy arall a gynnygiai. Bydd y lle yn barod iddo i fyw ynddo pan y cyrhaedda iddo. Bwriadaf ychwanegi tipyn atto trwy gauad, &c., yn ystod yr haf.

Yr oedd eich argoelion ar y pryd yr ysgrifenasoch yn addawol iawn, ac ymddangosech fel pe meddech yr iawn feddylddrych am y rheolau sefydledig. Etto mae'n rhaid i ni fod yn fwy gofalus nag o'r blaen gyda thynu dyledion, a chadw mwy o fewn ein mhoddion ein hunain. Yr oedd gorchwylion y flwyddyn ddiweddaf yn drwm iawn arnom; er y gwnawn fyned trwyddgyda chynnorthwy yr Hollalluog. Yr ydwyt yn cael arddeall eu bod wedi llyngcu ein holl foddion braidd, ac etto yr ydym yn ddyledus. Pe gallai ac y gwnae y rhai ydynt ddyledus i'r Drysorfa ad-dalu â moddion defnyddiadwy, gwellhâai bethau ar unwaith; ond ymddengys yn beth anmhosibl; os cawn unrhyw dalment gan y rhai a gynnorthwywyd, mewn gwaith ar y Gweithiau Cyhoeddus, neu mewn rhyw ffordd annefnyddiol o'r fath, ei gwnant. Gwyddoch fod i'r dynion hyn a'u teuluoedd gael cynnaliaeth tra yn llafurio felly, ac â hyny yn unig a'n moddion defnyddiadwy—i ddiwallu offerynau a defnyddiau at y gwaith, dillad, &c., iddynt eu hunain a'u teuluoedd. Cydbwysa y llafur-waith yma yr arian a fenthycwyd yn Lerpwll, ac ar hyd y daith; a gadewir ni o hyd yn brin o foddion parod i weithredu ag e' bob blwyddyn, oddieithr cymmaint a ddiwellir yn Ewrop, *drafts* pa rhai arnom ydym wedi bod yn abl i'w talu yn gyffredin, eithr mae yn anhawdd eu talu yn aml oherwydd achosion o'r fath a nodwyd. Felly, tra y dymunwn wneuthur yr oll ag sydd i'w wneuthur, gwelwn yr angenrheid-

rwydd o fod yn lled gynnil, i beidio a rhwymo ein dwylaw ein hunain yn rhy dŷn, na rhwystro ac attal ein holl weithrediadau trwy awydd gormodol i wneuthur gormod, ar unwaith, o'r un peth. Caniataf fod yr ymgasgliad yn un o'r pethau pwysicaf, a theimlaf yn foddlon ac yn awyddus i'w hwyluso yn well na llawer o bethau eraill; eithr tra yr ymfudwn, rhaid i ni hefyd adeiladu a darparu Seion er byw ynddi, yn ogystal a chasglu pobl iddi hi. Roddwyd galwad yn ystod y Gymmanfa ddiweddat i'r cyfryw frodyr a deimlent, gynuorthwyo yr ymgasgliad, gyhoeddi y meddiannau a deimlant yn foddlon eu cyfranu; fel y cyfrenais i fy eiddo yr hydref diweddaf, ac y mae rhai wedi dyfod yn mlaen, cyfrestr o ba rhai a roddir i'r brawd Pratt, ac ar ol yr ymadawo, a anfonir i Swyddfa Lerpwl. Hyderwn y cyflawnir llawer trwy yr agoriad newydd yma, tuag at waredu y Saint.

Da yw genyf eich bod wedi penderfynu ymochelyd rhag anfon ychwaneg o Saint *via* Orlêns Newydd; nycha y galon wrth feddwl am y cyfyngder a'r marwoldeb sydd wedi dilyn y Saint ar hyd y ffordd hono. Hyderaf y galluogir ni i gadw rhag St. Louis, a'r daith i fyny i'r Missouri hefyd. Dysgwyliwn y cyssyllta gledr-ffordd y dinasoedd dwyreiniol â Chanesfil, yna geill y Saint gael gwlad go iachus i'w theithio yr holl ffordd, yr hyn, ynghyd a'r diwygiadau a wnaed yn y môr-gludiad, a ychwanegant lawer at eu hiechyd, eu cysur, a'u defnyddioldeb. Awyddwn yn fawr am gael ychydig nwyddau i fyny yma y tymhor hwn, ac os bydd yn bosibl, y peiriant gwlân sydd wedi bod cyhyd yn ystoredig yn St. Louis. Hyderwn y byddwch yn alluog i estyn pa bynnag gynnorthwy effeithiol a anghenwn er hwyluso yr amcanion hyn.

Yn eich llythyr perthynol i fusnes y D. Y. Barhaus, am Tach. 25 a 30, sylwasoch, na ddanfonid personau na ddeuent ar y cynnyg cyntaf heb ail erchiad o'r Swyddfa hon. Mae hyny yn iawn, ac fe edrychir ato gydag amser cyfaddas, wrth gwrs ni allant ddyfod y tymhor hwn. Mae ychydig enwau eraill a anfonir yn eu hamser. Meddyliwn am wneuthur sefydliadau ar hyd y ffordd o Kanesfil hyd y lle hwn, ac mewn llefydd cyfaddas eraill o'r fath, o'r lle hwn hyd Ddyffryn Carson, gyda bwriad i sefydlu rhedegiad dyddiol yr holl ffordd. Dyry hyn, unwaith ei ddygir i weithrediad, ac unwaith y codir ŷd yn y

sefydliadau hyn, gynnorthwy mawr i'n hymfudiad; gan y byddant yn alluog i deithio yn rhwydd o'r naill sefydliad i'r llall, a chael ymborth a chyfeillion.

Dymunem i rhai o'r sefydliadau gael eu gwneuthur y tymhor hwn: hyfforddais y brawd Erastus i osod cynnifer a ellir ar waith y tymhor dyfodol. Os,ar eich ffordd adref y gwelwch ei fod yn eich gallu i'w gynnorthwyo rhywfaint gyda hyn trwy gynghori pa fodd i ymsefydlu, &c., heb rhwystro eich cerddediad, fe'i ystyrir yn ffafr. Brodyr Americanaidd ddylent gael eu hethol i lywyddu, ac ni ddylid caniatau sefydliad, ond ar y sail o amddiffynta gadarn, ac amgaufa gryf i'r anifeiliaid, fel y byddont ddiogel oddiwrth yr Indiaid.

Erys ein gorchwylion tua'r modd arferol; yr ydym yn dilyn rhediad gwastad ein llwybr, gan wneuthur y goreu a allwn, a cheisio ymryddhau oddiwrth ffurfiau a rhwymau Llywodraeth Diriogaethol, ac ymwthio yn Dalaeth rhydd ac anymddibynol.

Terfynodd y Gydgynghorfa eu llafur Mawrth 27, wedi iddynt ffurfio a mabwysiadu Ffurf lywodraeth, ynghyd ag apeliad at y Llywydd a'r Brif Senedd, (*Congress*,) yn gofyn derbyniad i'r Gyfundeb megis Talaeth. Gosodwyd mesurau y Gydgynghorfa gerbron y bobl, yn unol â'r gyfraith, er eu cymmeradwyaeth neu eu hangymeradwyaeth, ar y 7fed o'r mis hwn, a chymmeradwywyd hwynt yn unfrydol. Dewiswyd yr Anrhyd. George A. Smith, a John Taylor yn genhadon. Yr ydym yn dysgwyl cydweithrediad ffafriol a'n deiseb, yn ystod Seisiwn bresennol y Brif Senedd, os ydynt wedi neu y gwnant ymffurfio, yr hyn ydym heb gael ei wybod etto. A y brodyr A. O. Smoot ac Ira Eldredge i waered i hol ein nwyddan, y meddiant a adawsom y tymhor diweddaf, a'r peiriant gwlân os bydd yn bosibl. Er cyflawniad o'r amcanion hyn hefyd dymunwn eich cynnorthwy effeithiol, gymmaint ag a ellwch roddi

Dymunaf i chwi fy nghofio i at Joseph A., Edmund, James A., a'r *boys* bob un fel y cwrddwch hwynt. Dywedwch wrth Joseph [ei fab] nad oes amser genyf yn bresennol i ysgrifenu ato, ond fy mod yn ei aml goffhau yn fy ngweddiau gerbron yr Arglwydd. Hyderaf ei fod ef, yn ogystal a'r holl rhai eraill, yn aros yn ffyddlon wrth eu cyfammodau, ac y dychwelant yn bur a difrycheulyd oddiwrth ffieidd-dra heintus a brwnt y byd.

Gorfodwyd ni i attal gweithio ar y Gweithiau Cyhoeddus

eisieu ymborth i'r dwylaw. Mewn gwirionedd mae bwydydd yn brin iawn. Mae y flwyddyn fynedol wedi bod yn un ddinystriol i ni mewn llawer dull, eithr os ymwellha y Saint trwy y gwersi buddiol a hael gyfranodd, bydd yn un addysgiadol, a'i chanlyniadau ddyfod yn fendith yn lle yn felldith. Yn ychwanegiadol at golled ein hanifeiliaid, oherwydd geirwineb y gauaf, mae yr Indiaid yn ddiweddar wedi bod yn lled aflonyddus,—wedi gyru ymaith niferoedd aml o geffylau a gwartheg, ac yn y diwedd lladd saith neu wyth o'n brodyr, ond mae pob peth yn dawel yn awr, a gobeithiwn y parha felly. Nid oes ond ychydig o'r Indiaid yn ymwneyd â'r derfysg yma.

Gan weddio ar i'r Arglwydd eich bendithio a'ch cadw,

Ydwyf eich brawd yn
Efengyl Crist,
BRIGHAM YOUNG.

---

## CYMMANFA SIR FEIRIONYDD.

A GYNNALIWYD yn Machynlleth, Dydd Sul, Gorph. 6fed, 1856. Yr oedd yn bresennol yr Henuriaid B. Ashby o'r Llywyddiaeth Gymreig, J. Treharn, Llywydd y Gynnadledd, T Jones, Llywydd Cynnadledd Sir Aberteifi, &c.

Cafwyd fod y Cangenau mewn sefyllfa dda,—yn teimlo yn benderfynol i fyned yn mlaen. Ni fedyddiwyd un yn y chwarter diweddaf: ymfudodd 24, (heblaw plant.) Gwnaethpwyd busnes arferol Cymmanfa yn y cyfarfod boreuol, (cymmeradwyo yr awdurdodau, &c.,) yn unfrydol.

Penderfynasom gael y cyfarfod prydnawnol i'n hunain, yn gyfarfod Saint lle y caffai yr oll gyfranogi o'r Sacrament, gan mai anaml iawn y caniatäai eu sefyllfa wasgaredig amrai o honynt gael y fath fraint. Roddwyd cyfleustra i dystiolaethu ac i ymarferyd y doniau ysbrydol. Addysgodd yr Henuriad T. Jones y Saint i fyw mewn undeb a chariad, ac ar bob gair a ddaw allan o enau Duw. Felly terfynodd y cyfarfod hwn.

Yn y cyfarfod hwyrol y Llywydd a annogodd y Saint i weddio am oleuni Ysbryd Duw, fel y deallent yr egwyddorion a dradraddodid gan

Y Llywydd B. Ashby.—Teimlai efe mai da oedd i fod gyda ni. Dangosodd nad anhawdd oedd i'r bobl gadw gorchymynion

yr Arglwydd, gan nad oeddynt afresymol na beichus, ar ol iawn ddeall pa fodd i'w cyflawni. Fod yr Efengyl wedi cael ei rhoddi i ddynion er gwneuthur daioni yn ogystal ag i achub eu hunain. Galwodd ein sylw at ymdrechiadau ein blaenoriaid i ledaenu gwaith yr Arglwydd, sydd mor deilwng o'n hefelychiad. Llefarodd ynghylch degymu, gan sylwi mai tlodion ydynt yr offerynau yn ei law Ef i gyflawni ei waith yn mhob oes. Llefarodd er mawr foddlonrwydd pawb a'i deallent. Cyfieithwyd crynodeb o'r sylwadau hyn gan y Llywydd, yr hwn a sylwodd yn mhellach ei fod yn anrhydedd ac yn fraint i gael rhan yngwaith Duw er adeiladu ei deyrnas.

Gollyngwyd y gynnulleidfa dan fendith y Ll. Ashby, ac aeth yr holl Swyddwyr a'r Saint adref yn llawn bywyd a phenderfyniad newydd i gyflawni yr hyn oll a glywsant,—i dalu eu degwm, i rhybyddio eu cymmydogion, ac i wneuthur pob ymdrechiadau cyfreithlon tuag at adeiladu Teyrnas Dduw ar y ddaear, ac i ddryllio eiddo y gelyn.

JOHN TREHARN, *Llywydd*,
WM. AJAX, *Ysgrifenydd*.

---

## CYFLAWNIAD PROPHWYDOLIAETHAU YNGHYLCH BABILON GYNTEFIG.

*Parhad o tud.* 221.

DECHREUASOM gyda Babilon gyntefig yn ei gogoniant a'i mawredigrwydd—sylwasom ar ei phechodau gwarthus a'i ffieidd-dra annyoddefol—digofaint yr Arglwydd tuag atti—ei rag-ddywediadau, trwy ei santaidd Brophwydi, am ei dinystr, a dygasom wahanol hanesion a gydgordient â'u gilydd i brofi eu cyflawniad, ac yna edrychasom yn ol dros y cwbl, a sylwasom gyda syndod a braw parchedigol ar eirwirdeb, hollalluogrwydd, ac anghyfnewidioldeb y Jehovah Mawr.

Wrth derfynu, ni ychwanegwn ond y rhesymeg a ganlyn,—Yn gymmaint ag fod y ffaith amlwg hon yn aros o gyflawniad gair yr Arglwydd yn erbyn Babilon gyntefig, os cawn allan ei fod Ef wedi cyhoeddi cyffelyb ddinystr yn nes i dref,—ïe, hyd y nod i gyrhaedd hyd atom *ni ein hunain*, os na ddiangwn, y mae yn rhesymol i ni ymorphwys yn sicr ar y cyflawniad o

hono, a, chan osod hanes dychrynllyd Babilon gyntefig o'r neilldu, ar ol dwys ystyried mai 'er addysg i ni ei roddwyd,' fyned megis oddiwrth y cysgod at y sylwedd,—i fyfyrio ar y prophwydoliaethau cyntefig a phresennol ynghylch

## CWYMP BABILON FAWR Y DYDDIAU DIWEDDAF.

Y gyffelybiaeth sydd rhyngddi a'r un gyntefig yw yn

I. Ei llywodraeth gyffredinol, ei gormes, ei thrais, a'i mawr allu a'i chyfoeth.

II. Ei balchder, ei rhyfig, ei gau-grefydd neu ei eilun-addoliaeth, ei phechodau erchyll, ei ffieidd-dra drewedig yn ffroenau yr un Duw cyfiawn, ac yn

III. Ei chyffelyb dynged erchyll.

Yn Dad. xvii cyffelybir hi (yn ad. 5) i wraig, dan yr enw "DIRGELWCH, BABILON FAWR, MAM PUTTEINIAID A FFIEIDD-DRA Y DDAEAR." Yn ad. 18 cawn mai *dinas* ydyw hi, a bod ei llywodraeth i gyrhaedd dros frenhinoedd y ddaear. Llanwodd Eglwys Rhufain y cymmeriad,—treisiodd ac erlidiodd y Saint, ac ymfeddwodd ar eu gwaed, ac felly tua'r flwyddyn 570, O. C., gyrodd y "wraig," neu Eglwys Dduw, a'r "mab gwrryw," neu yr awdurdod i lywodraethu—yr *Offeiriadaeth*, i'r diffaethwch, lle y gadawn hwynt dros 1260 o flynyddau, tra y syllwn ar Eglwys Rhufain yn llanw y cenedloedd â'i fflieidd-dra a'i gau draddodiadau a ddelir yn awr gan wahanol enwadau ein gwlad. Aeth yr oll a gyfenwir yn "Gristionogaeth" yn Rhufeiniaeth, Babiloniaeth neu gymmysgaeth, hyd onid yn mhen y 1260 o flynyddoedd, sef 1830 O. C., y daeth yr angel arall a welodd Ioan, (Dad. xiv, 6,) a chanddo yr efengyl dragywyddol i'w phregethu "i bob cenedl, â llwyth, ac iaith, a phobl; gan ddywedyd, Ofnwch Dduw, a rhoddwch iddo ogoniant; oblegid daeth awr ei farn ef," &c. Nid ar y ddinas Babilon yn unig y mae y farn, neu y pläau erchyll a nodir yn y llyfr, i ddyfod; ond ar yr holl genedloedd a gyfranogant o'i phechodau hi. Ni ddinystriodd yr Arglwydd unrhyw bobl erioed heb yn gyntaf eu rhybuddio, a darparu ffordd iddynt ddianc, a dyna paham y dywed "Deuwch allan o honi hi fy mhobl i, fel na byddoch gydgyfranogion o'i phechodau hi, ac na dderbynioch o'i phlâau hi." Gwahoddwyd pobl Dduw allan o Babilon gyntefig, pan y perswadiwyd hwynt gan chwedleuwyr i beidio a myned, fel y

darllenwn yn Jer. li, 45, 46.—" Deuwch allan o'i chanol, O fy mhobl, ac achubwch bob un ei enaid rhag llid digofaint yr Arglwydd, nac ofnwch rhag y chwedlau glywir yn y wlad : o'r naill flwyddyn y daw chwedl newydd, ac ar ol hyny chwedl newydd y flwyddyn arall." Dywedir amrywiol chwedlau yn yr amser presennol er rhwystro plant a phobl yr Arglwydd rhag ffoi tua Seion i lechu rhag y llid sydd yn dyfod ar Babilon; canys yr ydym yn tystio wrth bawb yn ddiwahan mai ar ol pregethiad yr "efengyl dragywyddol," neu yr "efengyl er tystiolaeth" gan y Saint y daw y dinystr sydd eisioes wedi dechreu ar Babilon, fel y rhagddywedodd Crist. (Math. xxiv.) Gofier mai dechreu gofidiau yw hyn oll, ac nad â yr oes na'r genedlaeth hon heibio cyn y cwblheir hyn oll—y daw plâau o'r fath a noda llyfr Dadguddiad a manau eraill, ac y syrth Babilon Fawr y Dyddiau Diweddaf megis maen a fwriwyd i'r môr, byth i godi yn hwy, fel y syrthiodd Babilon gyntefig ar ol cyffelybiaeth y maen a rhwymwyd wrth lyfr, ac a daflwyd i'r afon gan y prophwyd Jeremiah.

*Alltwen.* W. F. Williams.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, AWST 2, 1856.

Cynghor Cyffredinol.—Gynnaliwyd Cynghor Cyffredinol o Lywyddiaethau Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf yn yr Ynysoedd Prydeinig a'r gwledydd cylchynol, yn Birmingham, ar yr 21ain, 22ain, a'r 23ain o Orphenaf, pryd y breiniwyd y lle â phresennoldeb tri o Apostolion Iesu Grist, sef Orson Pratt, Ezra T. Benson, a F. D. Richards, ynghyd a'r Henuriaid Phineas H. Young, Truman O. Angel, &c., o Ddyffryn y Llyn Halen; hefyd yr oedd yn bresennol Lywyddion y cenadiaethau canlynol—sef, Cymru, Iwerddon, Ffrainc, yr Eidal, Almaen, Switzerland, &c., ynghyd ag holl Fugeiliaid a Llywyddion y Cynnadleddau trwy Loegr, a chwech o Lywydd-

ion y Cynnadleddau Cymreig. Ni ysgrifenasom fanylion o'r ddysgeidiaeth nefolaidd ac effeithiol a roddwyd yno gan gedyrn Israel, ac ofer yw i ni wneyd hyny yn awr, gan y daw llawer o honi allan trwy y *Star* a'r Udgorn; eithr digon yn awr yw dweyd mai tystiolaeth yr oll oedd "na theimlwyd cymmaint o allu Duw mewn un Cynghor yn yr Ynysoedd Prydeinig o'r blaen. Cyneuwyd tân dwyfol yn nghalon pob milwr ag oedd yn bresennol, a bendithiwyd hwynt â gallu i'w gario ac i'w enyn ynghalon pob Sant a dyn gonest yn eu holl faesydd llafur. Bydd dysgeidiaeth gweision Duw o hyn allan yn fwy effeithiol i fod yn arogl bywyd i fywyd nen yn arogl marwolaeth i farwolaeth nag erioed o'r blaen.

Dywenydd yw genym hysbysu y Saint Cymreig fod y brodyr Pratt, Benson, &c., wedi addaw ymweled â Chymru heb fod yn hir.

---

Priodas a Moesau yn Utah.—Eglwys Dduw sydd wedi bod yn mhob goruchwyliaeth yn oleuni i'r byd, ac felly y dylem ninnau fod, gan ein bod yn feddiannol ar oleuni yr un Ysbryd dwyfol. Canfyddwn y byd yn ymbalfalu mewn tywyllwch, ac mae llawer o honynt yn dychymygu gweled megis creigiau annhringiannol ar eu llwybr rhyngddynt â'r goleuni a feddwn ni. Dyledswydd rhwymedig arnom yw symud y rhwystrau fo ar eu ffordd, gymaint ag a allwn, fel y gwyddom yn dda. Pa faint hawddach ein gorchwyl i, a mwy ein cosp am beidio a symud peth dychymygol drwy mor lleied gorchest a goleuo y person i weled yn amgen? Rhwystr o'r fath yma yn lygaid y byd yw yr athrawiaeth aml-wreigyddol a gredwn, ac a ymarferwn yn Utah. I'r perwyl o oleuo y rhai a garant oleuni o ffaen tywyllwch—dilyn esiamplau dynion duwiol ag y cymmeradwya y Beibl eu hymddygiad yn hytrach na mympwyau penboethiaid coel-grefyddol na feddant reswm nac ysgrythyr yn sail i'w gau-draddodiadau, yr ysbrydolodd Ffynonell y Goleuni ei was P. P. Pratt i ysgrifenu y traethawd ar "Briodas a Moesau yn Utah," yr hwn sydd i gael ei gyfieithu i'r iaith Gymreig etto, a'i wneuthur yn draethawd, er cael ei ledaenu mor bell a therfynau cylchrediad y chwedlau croes, ac yn mhellach os gellir. Hefyd, dymuniad y Llywyddion Richards

a Pratt yn amlach nag unwaith arnom oedd, ar i'r traethawd Seisnig,—"Marriage and Morals in Utah," gael lle yn mhob teulu o Saint yn Nghymru, a'i ddosparthu yn hael yn mhlith ein cymmydogion y Saeson: gobeithiwn fod y Llywyddion wedi dwys ystyried hyn. Cymhellwn i'w sylw gynllun y br. John Kay, yr hwn a ysgrifenodd y llythyr canlynol atom :—

20, *Rupert St., Everton,*
*Lerpwll*, 27 o *Fehefin*, 1856.

YR Henuriad D. Daniels.

Anwyl Frawd,—Ar gais y Llywydd Richards anfonaf y Cylchredydd *(Circular)* hwn i chwi, yr hwn ydwyf yn ei anfon i weinidogion, golygyddion, swyddogion, cyfreithwyr, masnachwyr, crefftwyr &c. Lerpwll, a thrwy fy Nghynnadledd, ac yn gosod i mewn gydag ef, fel y gwelwch, draethawd a enwir "Priodas a Moesau yn Utah." Barn y Llywydd Richards yw y bydd i'r dull yma o ddwyn y pwnc pwysig yma gerbron y rhai synwyrgall o'r bobl dueddu i'w hachosi chwilio yn fanylach i egwyddorion ein crefydd santaidd.

Cefais 500 o'r cylchredyddion wedi eu maen-gerfio (*lithographed)* am £1. Bwriadaf bennodi dosparthiadau i'r swyddogion i'w dosparthu i'r bobl.

Gan adael y pwnc i'ch ystyriaeth, arhosaf

Eich brawd yn yr Arglwydd.

JOHN KAY.

DYMUNWN i'r Llywyddion Cymreig wneuthur yr un modd. Os codant swm o arian, yn ol y nifer a ofynant o'r cylchredydd, a'i anfon i ni, mynwn gylchredydd wedi ei gerfio i bob Llywydd Cynnadledd yn Nghymru, ac enw a chyfarwyddyd pob un wrth ei gylchredydd, yr hwn a wneir yn Gymraeg a'r Saesneg yn ol eirchiad y Llywyddion.

Ystyr y cylchredydd cerfiedig yw math o lythyr hyspysiadol, mewn ysgrifen argraffedig i'w anfon gyda'r traethawd, mewn *envelope,* i'r cyfryw ei gyfarwyddir ato. Mae amryw Lywyddion Seisnig wedi ymaflyd yn y cynllun,

Daw y traethawd allan yn Gymraeg yn fuan. Bydd tua 16 o dudalenau, ac, os erchir aml-nifer o hono, bydd yn geiniog y copi i'r cyhoedd. Roddir elw anarferol o haelionus i'r dosparthwyr; bydd yr elw yn myned i'r awdwr, P. P. Pratt.

## LLYTHYR ODDIWRTH Y LLYWYDD D. SPENSER.—HYNT YR YMFUDWYR CYMREIG.

*Gwersyll Saint y Dyddiau Diweddaf,*
*Gerllaw Dinas Iowa, Mehefin* 22, 1856.

Y LLYWYDD F. D. RICHARDS.

Anwyl Frawd—Mewn attebiad i'r eiddoch am Mai 8 a 27, mae yn dda genyf eich hysbysu fod pob peth yn myned rhag ei flaen yn hwylus gyda ni, hyd y nod yn well na allaswn fod wedi ddysgwyl. . . . . ,

Dysgwyliaf ymfudwyr y *Thornton* mewn diwrnod neu ddau. Derbyniais, ar yr 20fed, hysbysiad o'u cyrhaeddiad, eithr heb dyddiad, ac mae yr elfen drydanawl yn ymddiogi tipyn pan yn cyfeirio ei llwybr yn orllewinol. O Gaerefrog Newydd fe gyrhaedda yr hysbyswr yma rai diwrnodau o flaen ei hysbysiad ei hun a anfona i fynegi ei ddyfodiad.

Dyry lawenydd mawr i chwi ddeall fod anturiaeth y ddauolfen (*handcart*) yn cael ei phrofi yn awr, a hyny yn llwyddiannus mor belled. Gadawodd Cadbeu Edmund Ellsworth y lle hwn ar y 9fed, gyda 274 o eneidiau, ynghyda'r Henuriaid Oakley a Butler yn gynnorthwywyr iddo. Ymadawodd Cadben D. D. McArthur ar yr 11eg, ynghyd a 221 o eneidiau, a chydag ef yr Henuriaid Crandall a Leonard yn gynnorthwywyr, Cynnwysai y rhai hyn, a rhifedent i gyd 497 o eneidiau, 104 o gwmpeini yr *S. Curling*, ac yr oedd yr oll o'u trwsiad allan yn 100 o ddauolfenni, 5 o wagenni, 24 o ychain, 4 o fulod, 25 o babellau, a lluniaeth hyd Florence. Ymwelodd y Brawd Ferguson â'u gwersylloedd 35 milldir allan, ac hebryngodd ar hyd ran o daith foreuol. Dywed, er fod teithiau y ddau ddydd cyntaf yn eithaf gwaith i ddynion cryfion, pan ystyriom y ffyrdd tywodlyd, ni ymwelodd erioed â gwersyll o Saint yn llonach a dedwyddach. Yr oedd pawb yn llawn o ffydd yn Nuw, ac ynghyflawniad ei addewidion trwy ei weision, ac yr oedd yr ychydig amheuon a fodolent yn feddyliau y credinwyr hanner-gweiniaid wedi diflanu pan welsant y ffaith sylweddol o'u blaen. Yr oedd y rhai gweiniaid a methedig eisioes wedi dechreu casglu nerth; y cleifion yn cyflym wellhau, a gallu Duw yn cael ei fawr amlygu yn nywalltiad ei Ysbryd arnynt, Mae mawr ganmoliaeth yn ddyledus, nid yn unig i'r brodyr

oeddynt a gofal y cwmnioedd arnynt, eithr i'r Llywyddion brodorol Cynnadleddau, y rhai a efelychasant eu gilydd mewn roddi esiamplau o ymarferiad o'r athrawiaethau a ddysgasant i'w praidd yn eu maesydd llafur, yn eu gwlad eu hunain. Gadawa y gweddill o gwmpeini D. Y. B. yr *S. Curling* y llehwn y foru. Eu nifer yw 320. Corffolwyd hwy a Edward Bunker yn Gadbeu arnynt, a David Grant, John Parry, a Geo. W. Davies. Er trwsio allan y cwmnioedd hyn, llwyddodd y brodyr Kimball a Grant i brynu, yn nghymmydogaeth Weston, ychydig o ychain a mulod, pa rhai, ynghyd a'r costiau i deithio, oeddynt werth yn agos 85 o ddoleri yr iau am ychain, a 120 y pen am fulod, Oddiar hyny mae prisoedd anifeiliaid wedi cwympo ychydig, ac mae y brodyr Van Cott a Grant wedi prynu digon i drwsio allan gwmpeini anymddibynol y dauolfenni, a'r cwmnioedd amddibynol cyffredin, ar gyfartalwch 38 i £65 dol. yr iau; costia y da o 15 i 18 yr un. Diwellir y rhai hyn yn y Bluffs gyda y trwsiad trwyodd. Maent hefyd wedi cyduno am rhai ieuanc er diwallu y gofyniad sydd eisioes yn ol y pris o 7 dol. am dreised blwydd, a 12 am un ddwy flwydd; da hesp, 7 dol. yr un. Mae y Brawd George hefyd wedi prynu yn y cyttundeb 16 o fulod am 110 dol., pa rhai, gyda saith neu wyth sydd gan y brawd Van Cott, a wnant i fyny wedd fulod i bob 600 o gwmnioedd y Drysorfa, ac i'r rhai a groesant y gwastadedd gyda chwi. . . . . . ,

Dysgwyliaf y Brawd Van Cott yn ddyddiol, gyda'r drof gyffredinol o anifeiliaid, â pha rai y bwriadaf ddiwallu yr ymfudwyr cyffredin sydd yma, yn ogystal a'r rhai sydd yn dyfod enwau pa rhai a aufonasoch imi. Cychwynodd y cwmpeini cyntaf o wagenni o Florence tua'r 6fed o'r mis hwn, o'r hwn, yn ol fy ngosodiad i, y cymmerodd yr Henuriad P. C. Merrill ofal. Dysgwylid i gwmpeini yr Henuriad Peterson gyd-fyned a hwynt. Ymadawodd yr Henuriad Joseph France gyda'r Cadbeniaid Ellsworth a McArthur, gyda'r apwyntiad i gymmeryd gofal, pan y cyrhaeddai, o'r Saint hyny a fyddent wedi ymgasglu yno o St. Louis a rhanau eraill, ag a ffurfient ail gwmpeini o wagenni.

Trwy fod busnes yn fy ngofyn yn St. Louis am ychydig ddiwrnodau, llawenhawyd fi yn fawr, ar y 14eg, wrth gyfarfod â'r brawd Erastus, ynghyd a'r brodyr G. A. Smith, E. T.

Benson, Orson Pratt, a'r brodyr eraill ag oeddynt ar eu ffordd tua'r dwyrain. Daeth y brawd Erastus gyda mi hyd yma. Cychwyna y foru tua St. Louis: mae efe mewn iechyd da. Dysgwyliaf y cyferfydd efe â chwmpeini yr *Horizon* yn Boston, ac yntau yn feddiannol ar y rhan hyny o'ch llythyr a berthyna i fusnes y cwmpeini hwnw, gwna y sylw angenrheidiol o hono. Parhâf i dynu arnoch chwi megis o'r blaen, hyd oni fyddaf wedi gorphen rhan arianol gorchwylion y tymhor. Dysgwyliaf eich cyfarfod chwi yn Florence, ac ymdrechaf gael y mulod wedi eu taclu yn barod, a'r ffrewyll mewn llaw erbyn eich dyfodiad, a a chrwstyn o fara mewn poced. . . .

Mae iechyd y gwersyll yn gyffredin yn dda y tymhor hwn Mae fy iechyd innau hefyd yn rhagorol. Mewn gwirionedd mae yr Arglwydd wedi bod gyda ni, ac wedi ffafrio agoriad y ffordd newydd. Oddiar pan gymmerasom wneuthur y dauolfenni mewn llaw ein hunain, y mae llwyddiant tuhwnt i'n dysgwyliad yn cyd-fyned â ni. Mae y brawd Webb wedi bod yn hynod o ffyddlon a llwyddiannus gyda'r gorchwyl yma. Yr oedd y nwyfau Eglwysig a anfonwyd gyda y *Thornton* wedi cael eu herchi i'r lle yma eisioes, ac fe iawn ddysgwylir atynt.

Una y brodyr Ferguson, McAllister, Grant, Webb, a'r brodyr yn gyffredinol gyda mi i gofio yn garedig atoch chwi, y brodyr Cyrus, Little, Dunbar, Linforth, Calkin, Williams, Turnbull, a'r holl Saint.

Llwyddiant a amlhâer arnoch yn eich holl orchwylion yw dymuniad

Eich ffyddlon Frawd yn Nghrist,

DANIEL SPENSER.

---

## GWIRIONEDD.

ERMYG OLYGYDD :—Dyma i chwi ryw damaid, o gywydd deuair hirion, a genais o ddamwain, ar y gynghanedd groesrywiog, yn gyfochrawg bendraphen, er *difyrwch hyfforddiadawl* i blant yr awen yn mhlith y Saint yn Ngwalia, ac eraill a ewyllysiont weled a darllen "UDGORN SEION," yr hwn sydd yn rhwydd a hawdd ei gael yn isel-bris a hylaw. Os gellwch ei gyfleu i ryw gŵr dalen, nycha ef at eich gwasanaeth.

Gair uniawn y gwirionedd,
Drwy yr Iawn e dry er hedd;
Trywanawdd ein trueni,
Do, er nawdd i'n daear ni!
Rhed y *gau* ar hyd y gwyll,
A i dyllau du ellyll;
Daw i ddynion da ddoniau,
O 'wyllys Ion i'w llesau;
O boen du—o benyd ant
I ganu i ogoniant!
Dewisol y daw Iesu,
Geilw ar ol y goreu lu;—
Un anwyl,—Oen y wiwnef
I gadw eu gwyl gydag Ef.

*Yn gyfochrawg fel hyn:*—

Gydag Ef i gadw eu gwyl
Oen y wiwnef—un anwyl
Y goreu lu—geilw ai ol
A daw Iesu dewisol
I ogoniant i ganu
O benyd ant—o boendu;
I'w llesau—o 'wyllys Ion,
Da ddoniau daw i ddynion:—
*Du ellyll* â i dyllau,
Ar hyd y gwyll rhed y *gau*.
I'n daear ni, do, er nawdd
Ein trueni trywanawdd!
E dry er hedd, drwy yr Iawn,
Y Gwirionedd—Gair uniawn.

*Abertawy, Mehefin* 5, 1856. DEWI ELFED JONES.

---

[Ystyriwn yr uchod yn deilwng o efelychiad amrai o "blant yr awen," ag ydynt yn ysgrifenu i'r „Udgorn," o ran ei gaethiwed wrth rheol: maent wedi gofalu i gadw lle i wella.—Gol.]

---

## CLEDR-FFORDD I SEION.

Y FFORDD i Seion Iesu a'i gwnaeth,
Mewn dwyfol wir mae'r cledr maith;
Odd' yma yno mae hi 'n cyrhaedd,
Mewn dedwydd fro y mae ei diwedd.
Ffydd, edifeirwch ydyw'r *station*,
A bedydd dyfr yw'r drws yn gysson;
I neb fan hon 'does eisieu talu
Ond rhodio'r ffordd a nododd Iesu;
Yr Ysbryd Glân yw'r *ticket* yno,
A'i gael mae pawb ond iddynt geisio,
A thrwy osodiad dwylaw'r swyddwyr,
Fe'i ceir fel cynt a hyny'n eglur;
A chyfraith Duw yw y peiriannydd
Sy'n gweithio hwn i Seion Fynydd.
Trwy ogfeydd tywyll a pheryglon
Yn gyflym â i fynydd Seion.
Cariad Duw yw'r tân,—gwir yw'r ager,
Sy'n myn'd a'r peiriant mewn cyflymder;
A phawb a aiff i Seion ynddo,
Rhaid dod at Grist yn ufydd iddo.
Os yn rhes flaenaf mynwch eistedd
Rhaid cadw'r gyfraith bur nefolaidd,
Os hwn rhy wych i'ch fyned ymaith,
Cewch gadw y ddaearol gyfraith.
Ac os y cwbl a wnewch wrthod,
Mae'r tan-ddaearol etto i ddyfod,
Lle y bydd lladron a chelwyddwyr,
Ynghyd a phawb sy'n ddrwgweithredwyr.
At y wir orsaf rhaid yw dyfod
Er cael bywyd, er nad oes gorfod.
O! ddynion dewch o'r tywyllwch du,
Aros mae'r cerbyd i'ch derbyn chwi.
I mewn trwy'r drws mae genych fyned,
A bod yn siwr o gael eich ticked;
Yna chwi a ewch heb fod yn faith
Yn ddiogel iawn i ben eich taith.

*Tre-Sior, Ebrill* 5, 1849. THOMAS HARRIS.

## DYLEDION AM LYFRAU, MEHEFIN 30, 1856.

Cynnadledd Brycheiniog, £2 2s 10c; Mynwy, £36 0s 2c; Morganwg Ddwyreiniol, £57 0s 5c; Morganwg Orllewinol, £102 12s 3c; Llanelli, £48 0s 4c; Gaerfyrddin, £22 11s 2c; Penfro, £4 15s 10c; Aberteifi, £15 0s 3c; Meirion, £8 10s 9c; Fflint, £15 3s; Dinbych, £10 15s 11c; Dyffryn Conway a Môn, £9 17s 2c. Nid yw y ffyrlingau yn gynnwysedig.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

PAN yr oedd y rhifyn hwn ar fyned i'r wasg, cawsom newyddion o'r Dyffryn, am Mai 28, yn hysbysu fod y Llywydd Young yn bwriadu anfon 14 o wagenni i fyny i Oregon i hol pysgod sychion er helpu y bwydydd sydd mor brin oherwydd galanastra y flwyddyn o'r blaen. Darparai y br. Rich, yn San Bernardino, er anfon ŷd i'r Diriogaeth pe gwasgai y prinder yn rhy galed. Cysurwyd hwy yn fawr gan y bras-gawodydd hynod o wlaw, a'r tywydd rhyfeddol o dwymn a addfedent y cnydau toreithiog a addawent yn deg i ail lanw eu hystor-dai gweigion. Bwriâdent ddechreu medi cyn dydd canol haf. Ymddangosai y pytato a'r gwyrdd-lysieu yn ffafriol iawn, ac yr oedd cyfiawnder o borfa na chafwyd ei fath er's dwy flynedd.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O GORPH. 17 HYD 24.—T. Jones, 10s; T. Stephens, £4 14s 3c; E. S. Morgans, £1; C. Harman, £2.

---

CYNNWYSIAD. TUD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 17.] AWST 16, 1856. [CYF. IX.

## FFURF-LYWODRAETH TALAETH DESERET.

[*Parhad o tud.* 240.]

Dos. 13. Pob rhoddiadau ac awdurdodiadau a fyddant yn enw a thrwy awdurdod pobl Talaeth Deseret, yn seliedig â Sêl Fawr y Dalaeth, wedi ei harwyddo gan y Llywodraethwr, a'i gwrthnodi gan Ysgrifenydd y Dalaeth.

Dos. 14. Yr Ysgrif-raglaw, Trysorydd, Golygydd Cyfrifon Cyhoeddus, a dirprwywr Cyffredinawl, y rhai a barhant mewn swydd am yr amser o bedair blynedd, ac a gyflawnant y cyfryw ddyledswyddau ag y fydd wedi eu pennodi iddynt gan y gyfraith.

Dos. 15. Mewn achos o gyhuddiad y Llywodraethwr, ei symmudiad o swydd, marwolaeth, rhoddiad i fynu, neu absennoldeb o'r Dalaeth, galluoedd a rhwymedigaethau y swydd a ddisgyn ar y Rhaglaw-lywodraethwr, hyd oni pheidio y cyfryw analluawgrwydd, neu i'r cyfryw wagle i gael ei lanw.

### ERTHYGL VI.

*Am y Barnawl.*

Dos. 1. Y gallu barnawl a lianeddir yn yr uchel-lys, rhandir-lysoedd, a'r cyfryw is-lysoedd ag y fydd i'r Gydgynghorfa o bryd i bryd i sefydlu.

Dos. 2. Yr uchel-lys a gynnwys uchel ynad a dau gyd-

swyddwr, dau o'r cyfryw a fyddant gorwm i gynnal llysoedd.

Dos. 3. Y prif ynadon a etholir gan y Gydgynghorfa am yr amser o chwech flynedd wedi yr etholiad cyntaf dan y Ffurflywodraeth hon. Ar yr etholiad cyntaf rhagddywededig etholir un am ddwy flynedd, un am bedair blynedd, ac un am chwech flynedd.

Dos. 4. Ynadon yr uchel-lys a fyddant yn ustusiaid yr heddwch trwy'r cwbl o'r Dalaeth, ac a ymarferant y fath arall o raglawiaeth ac appeliad galluoedd ag y fyddo wedi ei ragnodi gan gyfraith.

Dos. 5. Hyd oni ddarparir mewn modd arall gan y Gydgynghorfa, y Dalaeth sydd wrth hyn yn cael ei dosparthu i unarddeg o randiroedd barnawl, mal y canlyn:—

Llyn Halen Mawr a Phen rhandiroedd a gyfansoddant y rhandir barnawl cyntaf.

| | |
|---|---|
| Utah a Swyddi Cedar | " ail " |
| Juan a San Pete | " trydydd " |
| Millard a Beaver | " pedweredd " |
| Iron a Washington | " pummed " |
| Carson | " chwechfed " |
| Humboldt, St. Mary | " ——— |
| Greasewood a Malad | " Seithfed " |
| Cache a Box Elder | " wythfed " |
| Weber a Davis | " nawfed " |
| Swydd Green River | " degfed " |
| Tooele, Shambip, a Swyddi Deseret | " unfedarddeg " |

Dos. 6. Barnwyr llysoedd dosbarthiadawl a etholir gan etholwyr eu dosbarthiadau neullduol, amseriad swydd pa rai fydd am ddwy flynedd, ac a gant y gyfryw ragluniaeth ag a ragnodir gan y Gynghorfa Gyffredinol.

Dos. 7. Y teitl o bob mynediad *(process)* fydd "Talaeth Deseret," a phob erlyniad troseddiadol a fydd yn enw a thrwy awdurdod pobl y Dalaeth.

ERTHYGL VII.

*Am Etholiadau.*

Dos. 1. Pob dynsawd gwrywaidd dros ugain oed a chanddo drigle o chwech mis yn y Dalaeth hon, a chan fod yn ddinesydd

o'r Talaethau Unedig a hawlir i roddi pleidlais.

Dos. 2. Etholwyr yn mhob achosion, oddieithr trosedd cyflafan neu doriad yr heddwch, a freintir rhag dalfa ar ddyddiau or etholiad, yn ysbaid eu gweinyddiad ar y cyfryw etholiad, eu mynediad a'u dychweliad oddiyno.

Dos 3. Ni rwymir un etholydd i gyflawnu dyledswydd filwrawl ar ddydd yr etholiad, oddieithr yn amser rhyfel a pherygl cyffredinawl.

Dos. 4. Ni fydd gan un dyn yn y filwriaeth, y llynges, neu wasanaeth morawl y Talaethau Unedig, drwy fod wedi ymsefydlu mewn unrhyw wersyllfa o fewn y Dalaeth hon, hawl i roddi pleidlais, os na ddarperir yn amgen gan y gyfraith.

Dos. 5. Ni fydd i un symlyn neu orphwylledig, neu un dyn y fyddo yn euog o unrhyw drosedd gwaradwyddus i gael yr hawl i'r fraint o fod yn etholydd.

Dos. 6. Yr etholiad cyffredinol cyntaf, o dan y ffurf-lywodraeth hon a gynnelir ar y cyfryw amserau ag y fydd i Lywodraethwr gweithredawl y Diriogaeth hon, drwy gyhoeddiad, i apwyntio er etholiad llywodraethwr, rhaglaw-lywodraethwr cynrychiolwyr yn Nghydgynghorfa y Taleithiau Unedig, aelodau y Gynghorfa gyffredinawl, a holl swyddogion eraill y Dalaeth hon, fel y darperir at hyny yn y ffurf-lywodraeth. Bydd yr etholiad dywededig i gael ei dywys ac atchweliadau i gael eu gwneud yn unol a'r cyfreithiau a fodolant yn Nhiriogaeth Utah, yn yr amser pan y bydd yr etholiad rhagddywededig i gael ei galw.

Dos. 7. Cyfarfod cyntaf y Gynghorfa gyffredinawl a fydd megis yr hyfforddir drwy gyhoeddiad gan etholiad y Llywodraethwr, a'r cymanfaoedd llywodraethawl canlynol a gynnelir megis y darperir gan y gyfraith.

### ERTHYGL VIII.

### *Am y Meiwyr.*

Dos. 1. Meiwyr y Dalaeth hon a gyfansoddir o bob corph galluog dinasyddion gwrywaidd rhwng yr oedran o' ddeunaw a phymtheg mlwydd a deugain, oddieithr y cyfryw ag ydynt neu a allant o hyn allan fod yn rhyddion gan gyfreithiau y Talaethau Unedig, ac a arfogir, a gymhwysir ac a ddysgir yn ol fel y darpara y Gynghorfa gyffredinawl trwy gyfraith

Dos. 2. Holl swyddogion awdurdodedig y meiwyr a etholir fel y rhagnodir gan y Gynghorfa Gyffredinawl, ac a awdurdodir gan Lywodraethwr y Dalaeth.

ERTHYGL IX.

*Gwelliadau y Ffurf-lywodraeth.*

Os ar unrhyw amser y tybir gan y Gynghorfa Gyffredinawl yn angenrheidiol, ac er llesiant penaf y Dalaeth, fod i'r Ffurf-lywodraeth gael ei hail olygu, ei chyfnewid, neu ei gwellhau, hwy a berant fod i'r cyfryw ail olygiadau gosodedig, cyfnewidiadau, neu welliadau, yn yr unrhyw ddull ag a ddarparwyd er rhybuddion etholiadau, ac yn ymostyngedig i bleidleisiau y Wladwriaeth ar eu hetholiad cyffredinol cyntaf; ac os bydd i'r mwyafrif o'r etholwyr rhagddywededig i bleidleisiaw yn ffafriol i'r cyfryw ail olygiadau, gyfnewidiadau, neu welliadau gosodedig, yr unrhyw wedi hynyna a ddeuant yn ranau o'r Ffnrf-lywodraeth, yn amgen, y Ffurf-lywodraeth hon a erys yn anghyfnewidiol.

ERTHYGL X

*Darpariadau Cymmysgiadawl.*

Dos. 1. Mewn trefn ag na bydd anhawsdra i gyfodi wrth fyned o Diriogaethawl i lywodraeth Daleithiawl, y mae wrth hyn yn cael ei ddatgan, fod y cyfansoddiad presenawl, cyfreithiau, a phob peth perthynawl i lywodraeth Diriogaethawl Utah i aros mewn cyflawn rym ac effaith mewn cyfraith, hyd oni rwystrir hyn gan weithrediad y llywodraeth Daleithiawl o dan ddarpariadau y Ffurf-lywodraeth hon.

Dos. 2. Bydd iawn y Llywodraethwr, Rhaglaw-lywodraethwr, Barnwyr, aelodau y Gynghorfa Gyffredinawl, a phob swyddogion eraill yn ol fel y rhagnodir drwy gyfraith.

Dos. 3. Holl swyddogion y Dalaeth hon a barhant mewn swydd hyd oni rwystrir hwynt gan eu holynwyr.

Dos. 4. Swyddogion creedig trwy rinwedd y Ffurf-lywodraeth hon a gymmerant lŵ neu sicrhad i attegu Ffurf-lywodraeth y Talaethau Unedig yn nghyda'r Dalaeth hon, ac i ffyddlon gyflawni rhwymedigaethau eu swydd.

Dos. 5. Bydd y Gynghorfa Gyffredinawl i gefnogi dysgeidiaeth.

PENDERFYNIAD.—Penderfynwyd fod Ffurf-lywodraeth a chyfarwyddiadau eraill y Gymanfa hon, yn nghyd ag enwau y dirprwyr i'r Gydgynghorfa i gael eu gosod o flaen pobl y Diriogaeth gan aelodau y Gymanfa wladwriaethol hon, y 7fed o Ebrill nesaf; ac os yn gymmeradwy gan y bobl, yna gweithrediadau y Gymanfa hon a ystyrir yn safadwy: os yn annghymmeradwy, yna byddant ddirym a gwag.

CYF. DEWI ELFED JONES

## GWAHANIAETH RHWNG Y BEDYDDWYR A SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF.

(*Allan o hanes Joseph Smith.*)

YSGRIFENODD un o'r Bedyddwyr i'r *North Staffordshire Mercury* fel y canlyn:—

"Syr—Mewn cyhoeddiad diweddar, mynegasoch achos rhai personau a ddygwyd o flaen T. B. Rose, Ysw., am aflonyddu cynnulleidfa o Seintiau y Dyddiau Diweddaf, neu gredinwyr yn "Lyfr Mormon." Dywed athraw o'r sect hono, mewn atebiad i ofyniad yr ynad, sef, yn mha beth y gwahaniaethent oddiwrth y Bedyddwyr, "Mewn gosodiad dwylaw;" ond gwrthododd wneuthur cyfaddefiad gonest o'r hynodion hyny a'u gwahanant mor belled oddiwrth y Bedyddwyr ag unrhyw enwad arall a berthyn i'r Eglwys Gristionogol. Cynnyg doeth oedd hwn, mae'n wir; eithr gan y teimla y Bedyddwyr y byddai y fath gyssylltiad yn sarhad arnynt, gwnelent anghyfiawnder â'u hunain wrth adael y fath gabl-draeth ar eu henwad heb ei ateb. Galluoga y nodau hynod o amlwg o wahaniaeth a ganlyn eich darllenwyr i farnu drostynt eu hunain.

"I. Derbynia y Saint bob personau yn ddiwahan i fedydd, a chymhellant hwynt i fyned trwy yr ordinhad hono gan addaw fod diwygiad ysbrydol mawr i ganlyn. Bedyddiant, er maddeuant pechodau, heb aros am brawf boddhaol o edifeirwch am bechod. Eithr ni dderbynir un gan y Bedyddwyr ar nad yw yn arddangos yr addasrwydd hwn yn y modd mwyaf boddhaol; a phe caffent ymgeisydd yn edrych at ddwfr bedydd megis pe y meddai rhinwedd i'w lanhau oddiwrth bechod, cedwid ef y ol hyd oni ddysgid ef yn well.

2. Ar ol bedydd penlinia y Seintiau, a phroffesa eu Hoffeiriad wrth osod ei ddwylaw i gyfranu yr Ysbryd Glân. Pe gwelid cyffelyb effeithiau i eiddo gosodiad dwylaw yr Apostolion yn canlyn, byddai'n rhaid i anffyddiaeth rhoi ffordd o flaen y fath brawf; eithr gyda hwy ni achosir y fath effeithiau; erys y pechadur bedyddiedig yn bechadur o hyd, er ei wenieithir ac ei hudir â'r cyfenw "Sant y Dyddiau Diweddaf." Ystyria y Bedyddwyr y fath wagedd gyda'r un atgasrwydd ag y gwna pob Cristionogion eraill.

3. Gan feddu, fel y tybiant hwy, ddoniau goruwch-naturiol yr Ysbryd, cymer y Seintiau arnynt eu bod yn meddu y gallu i wneuthur rhyfeddodau, a phroffesant wellhau y cleifion ag olew santaidd; hefyd y gallu i brophwydo. Gan fod drygau moesol gan amlaf yn dwyn eu hunain feddyginiaeth, bydd i'r ffugiadau uchel hyn eu dystrywio hwynt gydag amser, yn gyffelyb i'r sectau dirif o dwyllwyr a ymddangosasant ar y chwareulawr o'u blaen, trwy agoryd llygaid y rhai mwyaf hudoledig. Nid oes achos ychwanegu fod y Bedyddwyr yn mhell oddiwrth y fath goegdybiadau, ac nad oes ganddynt ran ynddynt.

4. Gan fethu boddloni ar y Beibl megis dadguddiad trwyadl oddiwrth Dduw, mabwysiadodd "Seintiau y Dyddiau Diweddaf" ffug-chwedl, a ysgrifenwyd yn yr Americ, megis dadguddiad newydd, ac ychwanegasant gyfrol o sothach yn 600 o dudalenau at y llyfr hwnw ag y gwaherddir ni i ychwanegi atto, neu dynu oddiwrtho; dan berygl o'r cospedigaethau mwyaf dychrynllyd! Eithr nid digon hyd y nod hyn i'w haerllugrwydd annuwiol. Cyhoeddant gyhoeddiad newydd, yn yr hwn y diwellir "dadguddiadau newyddion," fel y maent yn dyfod, er defnydd pawb a allant eu llyngcu. Mae yr atgasrwydd â'r hwn yr edrycha y Bedyddwyr ar y fath arddangosiad galarus o ffolineb a drygionu dynol yn eu gwahanu hyd bellder digyrhaedd oddiwrth y fath bobl.

5. Er dwyn yn mlaen y fath drefn a hyn ar bethau, mae Seintiau y Dyddiau Diweddaf wedi neillduo dwy Offeiriadaeth. "Mae y leiaf, neu Offeiriadaeth Aaronaidd, i ddal allweddau gweinyddiaeth angylion, a gweinyddu mewn ordinhadau allanol. Gallu ac awdurdod yr offeiriadaeth uchaf, neu un Melchisedec, ydd i ddal allweddau holl fendithion ysbrydol yr eglwys,—cael y fraint o dderbyn dirgelion teyrnas nefoedd,—cael y nef-

oedd wedi en hagoryd iddynt,—cyfeillachu â chymdeithas gyffredinol ac eglwys y cyntaf-anedig,—a mwynhau cyfeillach a phresenoldeb Duw y Tad, a Iesu, Cyfryngwr y cyfammod newydd." (gwel tud. 13). Felly y maent, yn yr Offeiriadaeth rhyfeddol hon, wedi rhagluniaethu am ddiwalliad helaethlawn o bethau newyddion, mewn amrywiaeth ddiddarfod, a diderfyn, o ddwylaw dynion salw, y rhai a ymestynant at fawredd a berthyn yn unig i'r Hwn ag ydyw yr unig "Offeiriad yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec."

Yr ofn o drespasu ar eich colofnau, Mr. Gol., sydd yn fy attal rhag ymhelaethu ar y rhai hyn ac amrai byngciau ereill o wahaniaeth; ond digon yr hyn a wnaethpwyd er dangos i'ch darllenwyr nas gall unrhyw ddau enwad wahaniaethu mwy oddiwrth eu gilydd, na'r Bedyddwyr a Seintiau y Dyddiau Diweddaf; ac mai i'w cymmysgu rhywfodd ynghyd sydd nid yn unig yn anghyfiawnder â'r blaenaf, eithr andwya hwynt yn y gwarth o fod yn gydgyfranogion mewn twyll gwyneb-galed, neu hudoliaeth resynol, a ddysgwyliant hwy arnynt gyda yr un gwrthni ac atgasrwydd.

BEDYDDIWR."

[Yn ein rhifyn nesaf, dangosir y gwahaniaeth sydd rhwng y Bedyddwyr a Saint y Dyddiau Cyntefig.—Gol.]

---

## HYNT Y CYNNADLEDDAU, &c.

Brymbo, Awst 1, 1856

ANWYL frawd Daniels,

Cymmeraf y cyfleustra hwn idd eich gwneuthur yn hysbys o sefyllfa Cynnadledd Sir Fflint.

Mae ymdrech mawr yn mhob Cangen i bregethu, tra mae y diafol a'i weision yn cynhyrfu a'n gwrthwynebu. Bum yn Nhreffynon y Sul diweddaf, lle y pregethasom i liaws o wrandawwyr. Aeth rhai yn aflonyddus oherwydd y dystio aeth fod Joseph Smith yn Brophwyd i Dduw, a daeth yr hedd-geidwad i'w gostegu. Oddiyno aethym ar fy nhaith tua Wyddgrug. Yno cefais y Saint gwanaf braidd wedi ymddychrynu rhag ymosodiad y parchedigion a ddaethant yn unllaw i'r maes yn eu rhwysg a'u mawrder y Sul blaenorol i ymosod yn ddidrugar

edd ar Formoniaeth druan, gan fwriadu ei dedfrydu, ei lladd, a chyhoeddi ei chladdedigaeth nos Lun a nos Fercher canlynol. Bwriadaf innau gyhoeddi ei hadgyfodiad wedyn. Gan mai sais yw yr areithiwr, ac nad oes caniatad i ofyn na dweud gair yn yr areithfa cyn y derfydd, dymunwn i chwi anfon brawd a fedr saesneg yn dda, gyda chyfarwyddiadau ar y modd doethaf i ymddwyn yngwyneb yr amgylchiad, ac os mai da fyddai cymmeryd y *Town Hall* a chyhoeddi dadl.

Yr eiddoch yn ffyddlon,

THOMAS REES.

---

Llanidloes, Awst 4, 1856.

ANWYL frawd Daniels,

Wele lythyr yn eich llaw etto oddiwrth John Jones. Yr ydwyf yn teimlo fy hun yn wellwell bob dydd, a'm calon yn y gwaith yn fwy nag erioed. Un peth sydd yn wahanol yn awr na theimlais o'r blaen, sef mwy o danbeidrwydd Ysbryd Duw wrth bregethu, o ba achos yr wyf yn grug o hyd, am fy mod yn pregethu allan. . .

Fe'm derbyniwyd gan y Saint mor llawen ag erioed, a chawsom gyfarfodydd yn llawn o Ysbryd Duw. Bu y brawd Treharn a minnau yn Sir Faesyfed yn edrych hynt y brodyr oedd yn pregethu i'r byd yno. . .

Ffeindiodd y brawd Treharn a minnau ddau Saint rhagorol, gwr a gwraig, o fewn i ddau filldir i'r lle hwn; maent wedi byw yma er's blwyddyn heb wybod fod Saint gerllaw. Yr oedd y wraig mewn cyfarfod Saint a gynnaliasom yn y lle hwn neithiwr: penderfynwn sefydlu Cangen yma cyn hir, gan fod yma bedwar o Saint yn awr ac y bwriadwn fedyddio cyn hir. Pregethwn yma heno, yna bwriadwn fyned oddiamgylch hyd Ffestiniog. . .

Mae teimlad da neillduol tuag at dalu y degwm,—yr holl Saint a welais wrth fodd eu calon. Mae eu Llywydd, sef y brawd Treharn yn ddyn sydd yn galon i gyd braidd, a hono yn un dda. Yr ydym ein dau wedi gwario a threilio cryn dipyn

wrth deithio cymmaint, am hyny dymunwn i chwi anfon ychydig o'm prês i mi.

Fy nghofion atoch oll o eigion calon.

Eich brawd yn Nghrist,
JOHN JONES.

---

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, AWST 16, 1856.

PAN y delo corffoliadau ysbrydol dynion o fynwes y Tad i ymdabernaclu ar y ddaear hon, eu cyrff ydynt y rhanau cyntaf o'r blaned hon a roddir iddynt er ymwellhau arnynt a'u dwyn yn ddarostyngedig i gyfreithiau eu Creawdwr. Yr oedd yn naturiol, yn gyfiawn, ac yn angenrheidiol, er lleshad ei blant, i'r Arglwydd sefydlu tragywyddol gyfraith o deyrnged, trwy daliad yr hon y gallasai ei ddeiliaid roddi cryn gydnabyddiaeth o'u hymlyniad wrtho, neu, drwy ei gwrthodiad, wadu y cyfryw berthynas. Egwyddor wreiddiol ydyw hon, ar ba un y mae cyfraith y degwm yn sylfaenedig, a phan y delo dynion i adnabyddiaeth o honi, cant gyfleustra i brofi eu ffyddlondeb i Dduw y nefoedd, neu i ddangos eu gwrthodiad i ymddarostwng iddo. Nid er ei leshad personol ei hun y gofyna yr Arglwydd y degwm o eiddo ei bobl, canys perthyna eu hysbrydion a'u cyrff a'r ddaear ar ba un y trigant i gyd iddo Ef; eithr fe'i ofynir er eu lleshad hwy eu hunain, fel y coffheir hwynt yn barhaus o'u Creawdwr, eu Deddf-roddwr, eu Hamddiffynwr, eu Hamgeleddwr, a'u Hiachawdwr. Y mae wedi ymddarostwng hefyd i gael y rhan yma wedi ei defnyddio, o dan ei ddoeth arolygiaeth Ef, er lleshad uniongyrchol y rhai a'i talant, mewn adeiladu temlau a chynnal gweinyddiad ordinhadau angenrheidiol er eu hiachawdwriaeth; o ganlyniad, pecha y rhai a wrthodant i'r Arglwydd ei ran nid yn unig yn ei erbyn Ef, eithr yn eu herbyn eu hunain hefyd, a thriniant ardddangosiadau ei ddaioni Ef â gwg.

Mae y gyfraith hon, o'r dechreuad, wedi perthyn i'r Offeiriadaeth dragywyddol; ac am hyny y mae hi yn gyfraith dragywyddol, yn rhwymedig ar holl genedlaethau dynion, ac ni chyrhaedda undyn i fendithion iachawdwriaeth hyd oni chadwo hi.

Mewn rhifyn blaenorol o'r *Star*, dangoswyd i Abraham gadw cyfraith y degwm, i Jacob ymgyfammodi â'r Arglwydd y degymai yr oll a roddai Efe iddo, ac fod y gyfraith hon yn gynnwysedig yn y drefn Foseaidd, ac yn cael ei chadw yn gyssegredig gan Israel cyntefig. Yn gymaint ag fod y bendithion a addawodd yr Arglwydd i Jacob yn rhagolygol, ac i gael eu cyflawni ar ei genedlaethau, yn ogystal ag arno ef ei hun, yr oedd y cyfammod a wnaeth efe â'r Arglwydd, ar ei ran ef yn gyfammod tragywyddol—yn rhwymedig ar ei genedlaethau ar ei ol, ac am gyflawniad yr hwn maent yn gyfrifol trwy gyfammod eu tad. Saif y Patriarch, Jacob, dros fyth wrth ben ei genedlaethau, ac, fel ein hysbysir yn y dadguddiad ar briodas nefolaidd, y mae efe, ynghyda'i dadau Abraham ac Isaac, wedi myned i mewn eisioes i'w ogoniant, ac yn eistedd ar ei orsedd, gallwn fod yn sicr y gwel efe fod y cyfammod hwn yn cael ei lwyr gyflawni, gan bawb a feddant ettifeddiaeth yn ei deyrnas. Pwngc yw hwn a ddylid ei argraffu yn ddwfn ar feddwl pob un sydd ar yr enw o Sant y Dyddiau Diweddaf; canys os nad ydyw wedi canfod hyny eisioes, efe a genfydd ei fod yn bwngc wrth ba un yr erys ei iachawdwriaeth—yn un o'r profion wrth ba un y bydd ganddo brofi ei honiad o fod yn perthyn i dŷ Israel. Yn gymaint ag y dysgir y Saint yn y gyfraith hon, ac eu gofynir gan yr Offeiriadaeth i'w chadw, a na wnant, i'r graddau hyny fforffetiant eu hawliau i fendithion yr Efengyl, a phrofant eu hunain yn fychain i'r ffydd a broffesant ynddi.

Fel y dywedasom o'r blaen, nid yw cyfraith y degwm ond gwaith darpariadol, er addasu y Saint i fyw o dan un uwch y cyssegriad. Eithr ni ddiddyma gyfraith y cyssegriad byth mo un y degwm. Ufydd dod i bob un o honynt sydd yn rhwym oddiwrth bawb a gyrhaeddant fendithion bywydau tragywyddol. Tra, o dan gyfraith y cyssegriad, mae pob peth a feddo y Saint yn barod bob amser, wrth alwad yr Offeiriadaeth, er cael ei ddefnyddio at adeiladu teyrnas Dduw; gofynir iddynt ar yr un

pryd i dalu y ddegfed o'r oll ag y gwnaeth yr Arglwydd hwynt yn oruchwylwyr drosto.

Ni wyddom fod yr ysgrythyrau yn son am y pwngc o gyssegriad, hyd oni ddaeth Crist ac yr agorodd yr Oruchwyliaeth Efengylaidd. Mae yn ysgrifenedig i ddyn ieuangc cyfoethog ddyfod at yr Iesu, gan ddywedyd, "Athraw, pa beth a wnaf fel yr ettifeddwyf fywyd tragywyddol?" Cynnwysir rhai hynodion yn y gofyniad syml yma na sylwir arnynt yn gyffredin. Ni ofynodd y gwr ieuangc pa beth a wnelai fel yr ettifeddai rhan o iachawdwriaeth—ogoniant y lloer neu y sêr; dengys ei fod yn awyddus i gyrhaedd hyd y gogoniant uchaf, i ddyrchafiadau ac arglwyddiaethau—i fendithion bywydau tragywyddol. Mae yn debyg nad oedd efe wedi bwrw y draul am y gamp a geisiai, canys wedi i'r Iesu adrodd yr holl orchymynion, efe a ddywedodd "Mi a gedwais y rhai hyn oll o'm hieuengctid: beth sydd yn eisieu i mi etto?" Yr Iesu a ddywedodd, "Os ewyllysi fod yn berffaith, dos, gwerth yr hyn sydd genyt, a dyro i'r tlodion; a thi a gei drysor yn y nef: a thyred, canlyn fi." Yr oedd hyn yn gystal a dweud ei fod yn angenrheidiol aberthu yr oll ag oedd ar ol hyny yn anwyl iddo—ei olud bydol, ei sefyllfa anrhydeddus mewn cymdeithas, a'i enw da, a chyssegru y gweddill o'i fywyd er lledaenu yr Efengyl ac adeiladu y deyrnas; ond fe aeth y gwr ieuangc, fel amrai eraill, ymaith yn drist. Yn ei olwg ef nid oedd bywyd tragywyddol yn werth yr aberth.

Mae gan y gwr ieuangc hwn, os nad ydyw wedi gwneuthur hyny etto, aberth i wneuthur, yn gyfwerth i'r un a ofynodd yr Iesu, cyn yr ettifedda fywyd tragwyddol. Gwel pob mab a merch i Adda, a gaffo fendithion uchaf iachawdwriaeth, ei fod yn angenrheidiol gwneuthur yr ebyrth mwyaf sydd yn ddichonadwy.

Yn brawf ychwanegol fod ysbryd ymgyssegru yn perthyn i'r Efengyl, darllenwn yn Actau iv, 34, 35, "Canys nid oedd un anghenus yn eu plith hwy: oblegid cynnifer ag oedd berchen tiroedd neu dai, a'u gwerthasant, ac a ddygasant werth y pethau a werthasid, ac a'u gosodasant wrth draed yr Apostolion." Nid ydym yn cael arddeall ei fod yn cael ei ofyn gan y Saint cyntefig, eithr gadewir ini gasglu mai ffrwythau helaeth yr Ysbryd Glân a orphwysodd arnynt. Ysbryd aberthu ydyw

iawn ysbryd yr Efengyl; er profi yr hyn nid oes gan bob Sant ffyddlon ond cofio mai pan y tywalltwyd yr Ysbryd Glân arno yn helaeth, ei fod yn teimlo i gyfranu yn hael o'i eiddo er parhau gwaith yr Arglwydd, ac y mae cannoedd yn y gwledydd hyn, yn ogystal ag yn Seion, ag ydynt wedi dymuno amlwaith pe byddai ganddynt ychwaneg i'w roddi. Dyma y mesur o'r Ysbryd ag y dylai pob Sant ymdrechu i fyw ynddo.

Mae yr amser wedi dyfod pan y gofynir i'r Saint yn y wlad hon i wrteithio, yn fwy diwyd nag o'r blaen, ysbryd ufydd-dod ac aberth. I'r perwyl yma y gwnaeth yr Arglwydd yn eglur y dylid dechreu ar gyfraith y degwm yma, fel y gwasanaetho i wahanu yr ûs oddiwrth y gwenith, ac fel y caffo y Saint gyfleustra i brofi, i raddau mwy nac a wnaethant etto, pa un a ydynt deilwng i gael eu casglu adref i Seion.

Nodwn ychydig bethau ynghylch y Saint hyny nad ydynt yn foddlon i gadw cyfraith y degwm. Na ddysgwyliont y dyry yr Arglwydd trwy ei weision neu yn ei rhagluniaethau ffafr neillduol iddynt drwy agor eu ffordd o'u blaen er iddynt gasglu adref, canys nid yw yn debyg y bydd y fath rai o nemawr werth pan y cyrhaeddant yno. Os oes rhywrai na feddant ffydd ddigonol i dalu eu degwm yma, nid ydynt yn debyg o'i dalu yno, neu o ddyoddef yr amrywiol ofyniadau eraill a fyddant arnynt, eu gwrthodiad i gyflawni pa rhai a'u torant yn fŷr mewn bendithion, deallant nad ydynt yn y lle iawn, ac, mae'n ddiddadl y ceisiant awyrgylch mwy cydrywiol â'u golygiadau bydol. Na ddysgwyliont dyfu mewn ffydd ac yn natguddiadau yr Ysbryd Glân, a thrwy hyny gynnyddu mewn doethineb ac yngwybodaeth o egwyddorion bywyd tragywyddol, eithr gallant ddysgwyl y gadawa ysbryd yr Efengyl hwynt, yr â yr ychydig oleuni sydd ynddynt allan o honynt, yr ymlena gysgod tywyllwch eu dealltwriaeth, ac yr ymdrachwantant yn methau y byd hwn, y gwrthgiliant ac eu torir ymaith oddiwrth deulu'r ffydd ac y byddant ddiobaith am iachawdwriaeth hyd oni thalont benyd eu trosedd, y dechreuont ail wneuthur eu gweithredoedd cyntaf, ac y deuont i fyny trwy gadw y gorchymynion hyny a wrthodant yn awr.

Da fyddai i'r Saint gofio yn barhaus, mai pan y dysgont yn dda i ymarferyd â chyfraith y degwm, fod gwers ogoneddus arall o'u blaen hwynt—i ddysgu cyfraith y *cyssegriad.—Star.*

Y traethawd ynghylch "Priodas a Moesau yn Utah" a ddaw allan mor gynted ag y cawn eirchion am nifer digonol o hono. Mae rhai Llywyddion Cynnadleddau wedi anfon am tua'r bedwaredd rhan o'r nifer a ddylasent ofyn, gan "*feddwl* mai i'r Saint yn unig y bydd." Dymunem pe meddem gryfach iaith er darlunio awydd ein Llywyddion ar iddo gael ei ledaenu i bob lle ag y mae y chwedlau gwrthwynebol iddo wedi cyrhaedd. Pregethu yr Efengyl i bob creadur yw ein dyledswydd, ac, ar hyn o bryd, yn mhlith pethau ereill, y pwngc pwysig yma o honi i'r miloedd eneidiau gwerthfawr sydd yngwahanol Siroedd Cymru yn cael eu dallu gan weision y diafol, hyd nes y credant mai boddhau nwydau llygredig mae y Saint, ac nid parchu a chadw tufewn i rheolau a therfynau deddfau Duw Natur, y rhai ni thorir gan yr anifail direswm, tra y mae dyn er ar yr un ffurf a delw ac yn feddiannol ar raddau mawr o'r un priodoleddau a chynnedddfau a'i Greawdwr Mawr yn eu gwyrdroi i'w ddybenion hunanol a llygredig! Yn lle fod y rhywiogaeth arall yn cael cyflawni mesur eu creadigaeth mewn cyfiawnder a'u hamgeleddu, wele hwynt yn crwydro ar hyd "gardd Cristionogaeth," fel ei gelwir, wedi cael eu hyspeilio o'u coron a'u cysur—eu diweirdeb, a neb i'w cwyno! Edrycha y rhai a ddylent wneuthur hyny at y brychieuyn tybiedig yn llygad Utah tra y gwel ein llygaid yn ddyddiol y trawst dychrynllyd hwn yn eu llygad hwy. Frodyr llywyddol, sydd a gofal siroedd cyfain arnoch, a ydych chwi wedi deall eich dyledswydd ac'h cyfrifoldeb yn hyn? Amser a ddengys.

---

## GWAHODDIAD I DDYFOD YN SAINT.

Mae gofidiau yn fy nghalon
Wrth eich canfod hoff gyfeillion,
Yn eich rhwysg ar hyd eich gyrfa
I garcharau am y cynta.'
O mor fawr fydd eich braint.
I gael rhan gyda'r Saint,
Ac i ddiangc o gaethiwed
Lle ni hed poen na haint.

Pa'm gwrthodwch wir resymau;
Gan rhoi coel i draddodiadau,
A di'styru gwerthfawr eiriau
'N Harglwydd ni, a'i ordinhadau?
O mor fawr fydd eich braint, &c.

Mae Crist wedi dweyd yn bendant
Mai trwy fedydd ceir maddeuant;
A thrwy arddod dwylaw, coeliwch,
Ceir yr Ysbryd a'i ddyddanwch.
O mor fawr fydd eich braint, &c.

Dewch yn ufydd i'r ammodau,
Gan ymwrthod a phechodau,
Fel y byddoch fabwysiadol
O dan nawdd y Duw trag'wyddol.
O mor fawr fydd eich braint, &c.

Yna byddwch yn blant rhyddion
Gellwch honi'r holl fendithion;
Cilia'n hollol eich hameuaeth
O flaen nerthoedd gwir dystiolaeth.
O mor fawr fydd eich braint, &c.

Ysbryd Duw yn ei fendithion
Ddyry i chwi fawr gysuron,—
Ffydd, doethineb, a gwybodaeth,
Dawn iachau a phrophwydoliaeth.
O mor fawr fydd eich braint,

Cewch dafodau a'u cyfieithad,
Eglurhadau drwy ddadguddiad,
Gallu Duw'n gweithredu'n wyrthiol
Gewch trwy rym y ddawn ysbrydol.
O mor fawr fydd eich braint, &c.

Nac ymborthwch ar wag gibiau
Tra mae digon o bob moethau;
Ymwrthodwch a sectariaeth,
Ac ymborthwch ar Formoniaeth.
O mor fawr fydd eich braint, &c.

Deuwch holl, a pheidiwch hepian;
Ffowch am nodded i'r wir gorlan,

Cyn eich delir gan y 'storom,
Fel bu gynt ar deulu Sodom,
O mor fawr fydd eich braint,
I gael rhan gyda'r Saint,
Ac i ddiangc o gaethiwed
Lle ni hed poen na haint.

*Twynyrodyn, Merthyr.* RACHEL DAVIES.

---

## I SEION.

*Tôn,—Syr Harri Ddu.*

O Seion glyd,
Pen gwledydd byd,
Preswyl hyfryd ydyw hon;
Yma bydd y Seintiau
Yn eu heirdd drigfanau,
Mewn pleserau, a'u gwedd yn llon—
Bydd Duw a'i heddwch yn gordoi y llawr;
A'r Saint fwynhant o'i wenau Ef bob awr,
O! buan agor wnelo'r nefol wawr—
Oriau breintfawr lona'r fron.

Dyffrynoedd per,
Bendithlawn Ner,
Gorfoledder mewn un gân:
Mawr ag eang feusydd,
Oll yn fyw gan gynnydd,
Twf ysblenydd—gwych eu grân.
Mynnyddoedd gorwyn yn eu hamgau sydd
A throstynt chwyth yr awel iachus rydd,
Gan wasgar peraroglau'r blodau blydd,
Dros y dolydd— gorwg lân.

Dinasoedd gwiw
Dan nawdd ein Duw,
Agwedd glodwiw arnynt sydd,—
Temlau yn drwsiedig,
A pherlau'n addurnedig,
Goreuredig yno fydd.

Gwlad waredigol ydyw hon i'r Saint,
Rhag blin ddialedd Duw—rhag pla ac haint,
Dywelltir lawr ar Babel—dyma fraint!
Pwy dd'wed gymmaint—gwawria ddydd?

1853. ANEURIN L. JONES.

## AMRYWIAETHAU, &c.

MAE Cyfrifiad ymfudiad y Saint o'r gwledydd hyn i'r Americ, yn ystod y tymhor mynedol, sef o'r 30 o fis Tachwedd diweddaf hyd Gorph. 6, yn dangos fod 8 llong wedi hwylio, a 4395 wedi ymfudo. Yr oedd 667 o honynt o wahanol siroedd Cymru.

### GWYDDEL A CHARDI.

RHYW Wyddel safai gyda Chardi
Yn agos wrth lan afon Teifi;
Pan y gofynodd Pat yn ddiball,
"Ai 'r ochr hon yw 'r ochr arall?"
"O nage 'r ffol-ddyn," meddai 'r Cardi,
"A wyt ti'r Gwyddel wedi dwli?"
"Wel, ai un ochr yw'r un oco?"
"Ie bid siwr." atebai'r Cymro;
"Wel 'nawr (medd Pat) 'r wy'n tystio nas gall
Fod hon yn ddim ond ochr arall."

*Tre-Sior*, 1849. T. HARRIS.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O AWST 1 HYD 14.—T. Jones, 10s; W. Jones, £1 10s; J. Gibbs, £2; J. Davies, £2; J. Thomas, £3.

CYNNWYSIAD. TUD.



ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 18.] AWST 30, 1856. [CYF. IX.


## EPISTOL O EIDDO ORSON PRATT,

*At y Saint drwy Brydain Fawr, yr Iwerddon, a'r holl wledydd Ewropaidd, yn anerch—*

Anwyl Frodyr—Gyda theimladau diolchgar i Dduw a chariadlawn tuag atoch chwi, cymmeraf fy ysgrifell y waith hon etto, er eich hysbysu o'm neillduad i'r Lywyddiaeth yn y gwledydd hyn. Mewn Cymmanfa Gyffredinol o'r Saint, yn ymgynnulledig yn Nhinas y Llyn Halen Mawr, Tiriogaeth Utah, ar y 6fed o Ebrill, 1856, neillduwyd fi, trwy bleidlais unfrydol, i'r Lywyddiaeth yn y gwledydd hyn; ac yn fuan wedi hyny derbyniais "Lythyr Cyfarwyddiadol" oddiwrth y Llywydd Brigham Young, o'r hwn y mae yr un canlynol yn ddifyniad—

"Swyddfa y Llywydd,
Dinas y Llyn Halen Mawr,
Tiriogaeth Utah,
Ebrill 10, 1856.

Anwyl Frawd Orson Pratt—Cyfarwyddir ac awdurdodir chwi trwy hyn i fyned yn ddioed tua Llynlleifiad, Lloegr, a chymmeryd gofal o "Swyddfa Gyhoeddiadawl ac Ymfudawl Ewropaidd Saint y Dyddiau Diweddaf" yn y ddinas hono, a Llywyddiaeth Gwaith y Dyddiau Diweddaf yn yr Ynysoedd Prydeinig, ac yn y parthau gwledig hyny ag y mae eu cenad-

iaethau hyd yn hyn wedi bod o dan arolygiaeth y Lywyddiaeth hono.

Er eich cynnorthwyo yn y cyfryw ddyledswyddau, cynghorir chwi i alw i'ch cynnorthwy, yr Henuriad Ezra T. Benson, un o'r Deuddeg Apostol, ac annogir chwi i'w ethol ef yn un o'ch cynghorwyr, a bydd ei lafurwaith o dan eich cynghor a'ch rheolaeth chwi. Yr ydych hefyd at eich rhyddid i orchymyn gwasanaeth yr Henuriad James A. Little, yr hwn sydd yn awr yn Swyddfa Llynlleifiad, ac i alw o'ch amgylch y cyfryw gynnorthwywyr ereill ag a ofyna y fusnes, ac a fernwch yn angenrheidiol.

Y brawd Asa Calkin a fydd eich *Clerk* penaf, hyd oni fydd yn ddyledus iddo gael ei ryddhau neu ei ddifeichio gan rhyw un a anfonir o'r lle hwn; yn y cyfamser, gweddai i'r clerciaid ereill fod yn ddynion ieuainc addawol a ffyddlawn, ac i fod o dan ddysgeidiaeth y brawd Calkin, fel, ysgatfydd, y gallom gadw rhag yr anghenrheidrwydd o anfon clerciaid oddiyma. . .

Gweddiaf ar i Dduw, y Tad Tragywyddol, eich bendithio yn mhob dyledswyddau â'i Lân Ysbryd, ar iddo agor eich ffordd i gyflawniad pob anturiaeth ganmoladwy, ac arwain eich meddwl ar hyd ffordd pob gwirionedd.

BRIGHAM YOUNG.
Llywydd Eglwys Iesu Grist o
Saint y Dyddiau Diweddaf."

Mewn ufydd-dod i'r cyfarwyddiadau hyn, gadawais Ddinas y Llyn Halen Mawr ar yr 22ain o Ebrill, yn nghwmpeini yr Henuriad Benson, ac amrai genhadon ereill, a benodid i'r wlad hon. Cyrhaeddodd pump o honom i Lynlleifiad ar y 13eg o Orphenaf. Ac, wedi rhagnodi y prif awdurdodau llywyddol yn y Bugeiliaethau, Cynnadleddau, a Chenadiaethau tramor, ymgynnullasom mewn Cynghor Neillduol yn Birmingham ar yr 21ain, 22ain, a'r 23ain o Orphenaf. Oddiwrth y cynrychioliadau a roddwyd yno, daethym yn fwy hysbys o sefyllfa a hynt cyffredinol y Saint drwy Loegr, ac ar y Cyfandir.

Yn y blynyddau 1848, '49, a '50, bendithiwyd fi â'r fraint o ddal yr un sefyllfa swyddogawl yn y wlad hon, ag sydd wedi ymddangos yn dda i'r Arglwydd ei rhoddi imi etto.

Yr ydwyf yn derbyn y cyfrifoldeb mawr â'r hwn fy ymddir-

fedir gyda chalon yn gorlifo o ddiolchgarwch i Dduw a'r Saint; ond, ar yr un pryd, gydag ofn a chryndod yn herwydd fy niffygiadau a'm gwendid i fy hun, y rhai ydynt feallai yn fwy gwybodus i'm hunan nac i lawer ereill. Unpeth ydwyf wedi ei ddeall yn effeithiol, fod dyn, ni waeth pa mor fawr ei allnoedd naturiol a'i gyrhaeddiadau, heb yr Ysbryd Glân, yn fod tlawd, dirym, a gwael, ac megis dim yngholwg Duw. Eithr yn wisgedig â doethineb y nef, ac yn arfog â gallu Duw, y mae yn gyffelyb i lifeiriant nerthol cropa'r mynydd sy'n ysgubo y cyfan o flaen ei rhedegiad ffrydwyllt anwrthwynebol. Heb yr Ysbryd Glân, cyffelyb yw efe i'r hydref-ddalen sy'n gwŷwo yn yr oerfel, ac yn syrthio oddiwrth y pren a'i dygodd; eithr â'r Ysbryd Glân ganddo, mae fel y dderwen nerthol sy'n gwrthsefyll 'stormydd y gauaf, ac yn sefyll yn gadarn ynghanol yr elfenau cynddeiriawg. Llefara, a chlywir ei lais, a theimlir ei allu gan y Saint drwy y byd; tra yr ofna ac y cryna y drygionus canys mae rhywbeth yn sibrwd yn eu clustiau fod "Duw yno."

Y boreu y ffarweliais â'r Llywydd B. Young, tra yn gofyn o'i enau rhyw air o gynghor a chyfarwyddyd, perthynol i'm dyledswyddau yn y wlad hon; efe a atebodd, "Dyfal-geisiwch yr Ysbryd Glân, ac efe a ddengys i chwi pa beth i wneuthur." Pa ateb allasai fod yn gywirach ac yn gymhwysach na hyn? Pa beth all fod o fwy pwysigrwydd i was Duw, nag i fwynhau cymdeithas ag Ysbryd yn bur a santaidd, yn gyfryw ni thwylla un amser, eithr a ddengys yn eglur iddo pa beth a ddylai wneuthur. A ydyw cymdeithas â'r Ysbryd hwn yn ffugiaeth? Nac ydyw. Y mae yn ffaith nefolaidd hyfrydlawn. Mae y meddwl ei hunan o gael cyfarwyddyd trwy'r fath gyfrwng digyfeiliorn, yn llanw y meddwl â dedwyddwch annhraethadwy. Fy ngweddi barhaus a'm dymuniad taeraf yw, ar i gynghorion y Llywyddiaeth, a sibrwd yr Ysbryd Glân, gael bod fy Arweinydd sicr yn fy holl weinyddiadau yn eich plith, ac y byddo i'm holl addysgiadau i chwi, fy'm cynghorion, fy ysgrifeniadau, a fy ymddygiad yn y cyhoedd ac yn y dirgel gael eu tueddu a'u hysbrydoli gan yr Ysbryd Glan. Os felly y bydd, gallaf eich llesoli yn enw yr Arglwydd; os fel arall, ni fyddaf ond megis efydd yn seinio, a bydd fy holl ymdrechiadau yn ofer. Saint, a gynnorthwywch chwi myfi trwy eich ffydd a'ch gweddiau, er i mi dderbyn mesur helaeth o'r Ysbryd, nid yn unig er

mwyn i, ond er eich mwyn chwi, fel y gwnelo Duw fi yn fendith i chwi, trwy weinyddiaeth yr Apostoliaeth Santaidd, mewn cyfranu geiriau y bywyd—doniau yr Ysbryd, fel eich cryfhäer ac eich cysurer â gwybodaeth o bethau ysbrydol, â gwybodaeth o'ch dyledswyddau ac o gyfraith Duw, ac y byddoch yn fwy hollol barod i oddef gogoniant a phresennoldeb Duw yn y byd dyfodol hwnw i'r hwn ydym yn cyflym frysio?

Yn unol a chyfarwyddyd y Llywydd Young, yr ydwyf wedi apwyntio yr Henuriad Ezra T. Benson, un o'r Deuddeg Apostol, yn Gynghorydd blaenaf imi. Bydd i'r Henuriad Benson deithio llawer yn eich plith, ac te'ch bendithir yn fawr trwy ei weinidogaeth, fel un o Apostolion ffyddlawn y dyddiau diweddaf. Mae efe, pan yn llawn o'r Ysbryd, yn iaith yr ysgrythyrau, yn "fab y daran," ac yn rhoddi allan ei dystiolaeth yn noethineb a gallu Duw. Y Duw Hollalluog a'i bendithio yn mhlith y Saint yn Mhrydain Fawr, ac a baro i'w lais gael ei glywed megis sain udgorn nerthol yn deffroi y Saint i fywyd ac egni; ac yn mhlith y drygionus bydded megis llais taran ddychrynllyd yn eu cyffroi o farwol gysgadrwydd oesau.

Yr ydwyf hefyd wedi apwyntio yr Henuriad James A. Little yn ail Gynghorydd imi. Cyfyngir ei ddyledswyddau ef yn fwy i'r Swyddfa, er cynnorthwyo yn nhosbarth golygyddol y *Star*. Dyn yw y brawd Little, er yn ieuangc, o'r uniondeb mwyaf, ac y mae ei galon yn llawn o ddoethineb a gwirionedd; canys y mae Duw gydag ef; ei enaid a eangir fel y môr, a'i oleuni a dỳr allan fel canol-ddydd; ei ysgrifeniadau a ysbrydolir gan Ysbryd y Gwirionedd, ac a fawr werthfawrogir ac a daer geisir gan y Saint. Frawd Little, cymer galon, canys yr ydwyt yn anwyl gan yr Arglwydd, ac ynddo Ef y bydd dy nerth, o hyn allan ac yn dragywydd.

Mae y Saint yn y wlad hon wedi cael eu bendithio dros fesur, trwy ddoeth gynghorion y dyn mawr a da hwnw, yr Henuriad Franklin D. Richards, fy rhagflaenydd, yr hwn sydd am hir amser wedi llywyddu gyda doethineb a mawredigrwydd nid bychan yn eich plith. Mâe yr Apostoliaeth Santaidd wedi cael ei hanrhydeddu ganddo. Ei galon sydd wedi bod yn ffynonell o wirionedd, a'i ymysgaroedd ydynt wedi ymchwyddo gan dosturi dros y Saint tlodion. Trwy ei gynghorion a'i awgrymiadau doethion y mae miloedd wedi cael eu gwared

o ormes a newyn, a'u hanfon i wlad o heddwch a digonedd. Ei gynghorion ydynt wedi bod fel eiddo tad i'w blant; ei addysgiadau fel cawodydd adnewyddol y gwanwyn, yn bywiogu, ac yn roddi bywyd adnewyddol i blanigion gwinllan yr Arglwydd. Trwyddo ef mae yr Ysbryd Glân wedi cael ei dywallt ar led fel gwlith y nefoedd ar dir Joseph, gan roddi adnewyddiad y boreu i'r olygfa. Y Duw hwnw a ymddangosodd i Abraham, ac a fendithiodd ei had dros fyth, a fendithio y brawd Franklin hefyd, a'i genedlaethau; ei feibion a fyddont ym mysg penaf wŷr Israel—Cynghorwyr doethion yn Seion, a Llywodraethwyr yn nheyrnas ein Duw ni.

Ymdrechaf, mor belled ag yr arweinia amgylchiadau ac Ysbryd yr Arglwydd fi yn hyny, i gario yn mlaen gynlluniau dyfeis-ddoeth y brawd Franklin er llwyddiant a lles y Saint, gan obeithio y bendithir fy llafur egwan innau, hefyd, ac y gweithia Duw trwy fy offerynoldeb er eich lleshad.

Boddlonid a boddheid fi yn fawr i gael ymweled â'r holl Gynnadleddau a'r Cenadiaethau tramor o dan fy nghofal, pe byddai yn gydbwysig â'r aml ddyledswyddau sy'n dyfod arnaf yn barhaus, ac a argoelant ofyn fy sylw yn y Swyddfa yn Llynlleifiad.

Dylai yr awdurdodau a'r Saint wneuthur pob ymdrech ganmoladwy i ledaenu y gair argraffedig, gan mai hwn sydd yn un o beiriannau nerthol y dyddiau diweddaf er goleuo y byd, ac er adeiladu teyrnas Dduw. Mae y traethawd a enwir *Priodas a Moesau yn Utah*, yn deilwng o gael ei ddosparthu wrth y canoedd o filoedd; hefyd byddai amrai draethodau ereill, am ba rhai y gwyddoch, o eangach defnyddioldeb, pe eu dosparthid yn lledaenach yn mhlith y bobl. Mae dylanwad y wasg yn Lloegr a'r America yn gryf iawn, er naill ai dda neu ddrwg. Ac, mor belled ag y gellir ei gosod i weithio, mae yn rymus yn nheyrnas Dduw, er attal, ac i rhyw raddau rheoli, y rhedegfa nerthol o wrthwynebrwydd a ddygir yn erbyn y Saint, a'r hon sydd ar brydiau yn ymdorri allan, ac yn bygwth ein handwyo yn ei chwerw ddiluw. Gan hyny ymafled y Saint yn y prif gyfleusterau a ddyry y gelfyddyd o argraffu, gan ledaenu goleuni a gwirionedd yn mhob preswyl drwy y tir. Wrth wneuthur felly, yn fuan cant weled arddangosiadau o ffrwythau eu llafur, mewn ymholiadau cy[illegible] mewn llnosocach cyn-

nulleidfaoedd, a thrwy rhifedi cynnyddol o'r rai gonest a ychwanegir at yr Eglwys.

Taer weddied pob aelod o'r Eglwys am gael dwyn, o leiaf, un enaid i edifeirwch bob tri mis, ac ar ddiwedd y flwyddyn, cawn ein rhifedi bedair gwaith yn amlach, ein cryfder a'n nerth wedi mawr gynnyddu, a'n trysorfeydd er gwneuthur daioni wedi eu hail lanw.

Yn herwydd yr aml filoedd a gynnorthwywyd o'r wlad hon, yn ystod y ddwy flynedd ddiweddaf, mae trysorfeydd y Swyddfa wedi cael eu mhawr leihau, mae llawer o ddyledion trymion wedi cael eu tynu, ac amgylchynir ni gan aml drafferthion blinderus; etto i gyd, gellir gobeithio, y bydd y Saint yn barod i gynnorthwyo ar bob amser anghenus; ac yr ymdreigla y trysorfeydd i'r Swyddfa wrth y miloedd, fel y parhäo y gwaith da o gasglu y tlodion gyda llwyddiant cynnyddol.

Gan deimlo dros sefyllfa y tlodion yn y wlad hon, mae amrai o'r Saint yn Utah, gyda sèl haelionus, a chyda calonau yn llawn cymmwynasgarwch, wedi cyfranu ffarmydd, rhandiroedd dinasyddol, preswylfanau personol, ac ystor-dai cyhoeddus, werth aml filoedd o bunnau, i Gwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus; ac fe ddefnyddir yr elw o'r holl feddiannau hyn, os gellir eu gwerthu i'r rhai cyfoethogion yn mhlith y Saint yn y gwledydd hyn, yn y Swyddfa hon, er ymfudo y rhai tlodion o'n pobl. Annogwn y Saint cyfoethog i brynu iddynt eu hunain etifeddiaethau yn Utah, a thaflant i'r D. Y. Barhaus foddion defnyddiadwy i gynnorthwyo eu brodyr tlodion a sathredig o'r wlad hon i Seion. Os geill ein brodyr yn Seion hebgor eu meddiannau er lleshad y tlodion, mae'n ddiau y dylech chwi foddloni prynu i'r un amcan cymmwynasgar. Mae genyf gyfrestr o'r meddiannau cyfranedig hyn yn y Swyddfa hon, a gwerthwn hwynt i chwi gyda'r pleser mwyaf, os bydd yn bosibl, mewn amser i anfon rhai miloedd o'r Saint allan y gwanwyn nesaf, yn y tymhor i groesi y Gwastadedd yn gynnar. Mae y rhandiroedd dinasyddol, y ffarmydd, a'r tai sydd ar werth, yn amrywio mewn gwerth o un neu ddau cant o bunnoedd i ddwy neu dair mil: Deuwch yn mlaen, fy mrodyr, a boddhewch eich hunain; yn awr mae yn amser mwyaf manteisiol i chwi sicrhau cartref yn Seion, ac i wneuthur daionu. Mae llef y tlodion arnoch am waredigaeth. A ddeuwch chwi yn waredwyr iddynt, gan

sicrhau i chwi eich hunain drigfanau a phreswylfeydd tragywyddol yn mhlith y cyfiawnion? Neu ai gwell genych dynghed y gŵr cyfoethog, yn mhell i ffwrdd o fynwes Abraham—mewn poenedigaeth? Chwychwi bïa dewis, a chwi yn unig rhaid sefyll y canlyniad. Os chwychwi wrthodwch y fendith hon, fe egyr Duw rhyw ffordd er gwaredigaeth ei Saint; canys Efe a wrendy eu cri, ac a rhagluniaetha drostynt; a bydd eich bendithion chwi, a allasech fod wedi eu cael, ar benau rhai teilyngach. Nid yw hyn yn cael ei gymhwyso at y rhai hyny a lawenhaent i wneuthur, onibai fod eu meddiannau mewn cyflwr anfanteisiol i bryniad presennol, ond at y rhai cybyddlyd—carwyr trachwantus budr elw— a feddyliant yn fwy am eu cyfoeth nac a wnant am eu heneidiau. Y fath rhai a hyny a allant ofni a chrynu yn hawdd! canys mae eu hawr yn dyfod! a dyddiau eu truenusrwydd yn cyflym brysuro!

Mae drygionu ar ei gynnydd yn fawr, ac mae Babilon fawr yn ymgrawnu yn ei budredd a'i llygredigaeth ei hun. Mae yn gweddu i'r Saint edrych yn fanwl at eu ffordd, rhag ofn eu gorthrechir, ac yr halogant eu hunain a chyfranogi o bechodau y cenhedloedd drygionus hyn, a threngu gyda hwynt. Gwŷn ei fyd y gŵr yr hwn, pan yn amgylchynedig gan brofedigaeth a drygioni ar bob llaw, sydd o hyd yn cadw ei hun yn bur a diwair gerbron Duw. Blodena y fath un fel y ddewisol rawn-winwydden a enfyn allan ei gwŷrdd gangenau yn mhob cyfeiriad, ac a ddug frâs sypiynau o ffrwyth blasus. Aml amlheir ei had, a bendithir ei genedlaethau yn dragywydd. Ond gwae y dyn hwnw yr hwn, wedi y derbynio ei gynnysgaethiadau, a halogo ei hun gyda benywod, ac a anmharcho gyfammod cyssegredig a thragywyddol bywyd; canys fe wŷwa y fath un ymaith, megis cangen a dorir ymaith oddiwrth bren gwinllan, yr hon nid yw yn dwyn ffrwyth, eithr ag sydd yn agos agoshau i'r llosgi. "Gwae yr holl rhai hyny a gyflawnant butteindra, medd yr Arglwydd Dduw Hollalluog, canys hwy a wthir i lawr i uffern." O, fy mrodyr a'm chwiorydd, na adewch i ddiweirdeb a phurdeb calon fyned oddiwrthych; oblegid hwynthwy ydynt eich nerth a'ch amddiffynfa ddiangol yn Mhabilon, eich gogoniant a'ch anrhydedd yn Seion, eich cynnyddiant diderfyn yn y byd a ddaw'

Wrth yr Henuriaid Teithiol a'r Cenhador, dywedaf, na

segurwch ymaith eich hamser; gweithiwch a'ch egnioedd canys diwedd y cynhauaf a ddaw yn fuan; clywer eich lleisiau yn y boreu, ac ar ganol dydd, ac yn ngysgod yr hwyr, yn gwaeddu edifeirwch i'r holl bobloedd; dadseinied y neuaidd a'r capeli, a'r trigfanau personawl, gan eich rhybydyddiawl lais; adleisied yr heolydd, y llwbrau, a'r prif ffyrdd, y newyddion da; dadseinied yr uchel-leoedd, y bryniau, a'r mynnyddau, gan yr hyfryd sain; caffed trigfanau y rhai uchel a mawreddog, ac harddwych balasau brenhinoedd a breninesau, glywed eich tystiolaeth, hyd oni chaffo y cenhedloedd, trwy allu Duw, eu dryllio yn ddarnau, y teflir gorseddfeingciau i'r llawr, ac y gwneir i'r hen Fabilon ei hun i ymysgwyd, a chrynu, a siglo, a syrthio i beidio a chodi yn hwy. Galwch ar yr Arglwydd ddydd a nos, am ddoethineb a nerth ei Ysbryd; am allu yr Ysbryd Glân sydd yn rhoddi lleferydd; am ysbryd y brophwydoliaeth i rhybyddio y cenhedloedd; am ddoniau yr Ysbryd i gyfranu i'r Saint; am ddadguddiadau o'r adnabydiaeth o Dduw; am angylion i'ch gwylied a'ch gwarchae, ac i weinyddu i chwi a throsoch chwi; am i'r Arglwydd rhwygo y nefoedd a dyfod i waered, achub ei bobl a gwared y ddaear. O, mor fawr y gwaith sydd i'w wneuthur! O, mor ddiwyd y dylem ninnau fod yn ei gyflawnu!

Bendithion, cyfiawnder, a nerth, ac iachawdwriaeth, a doniau a galluoedd y nef, a gynnydder ac a amlhäer arnoch, hyd nes eich derchefir i eistedd ar orseddau o allu, ac y teyrnasoch byth ac yn dragywydd, yw taer weddi eich gostyngedig was,

ORSON PRATT,
Llywydd y Saint yn Mhrydain Fawr
a'r holl wledydd Ewropaidd.

---

## DOSPARTHU TRAETHODAU.

(*Allan o Olygyddiaeth y "Star."*)

YN ystod ein Llywyddiaeth flaenorol yn y gwledypd hyn, arweiniwyd ni i sylwi, mewn modd neillduol, ar y dylanwad grymus a daionus a ddeilliodd trwy ddosbarthiad helaeth o draethodau a pamphledau ar egwyddorion ein crefydd. Yr amser hwnw, yn y cyfnod byr o ddeutu dwy flynedd, ymddybl

odd Eglwys y Saint yn y gwledydd hyn mewn rhifedi, ac ychwaneg. Yr oedd cyfarfodydd yn gyffredin yn llawn, ac ymholai cannoedd yn fanwl am ddeall y gwirionedd. Dilyned y Cangenau yr un llwybr etto, ac ni allwn lai na chredu ei ddilynir â'r un canlyniadau dymunol; heblaw hyn, tuedda i wneud holl aelodau yr Eglwys, y brodyr a'r chwiorydd, yn ddiwyd a defnyddiol i ledaenu y gwirionedd.

Mae y cyntaf a'r ail Rhifyn o restr newydd o draethodau, ar egwyddorion cyntaf yr Efengyl, yn awr yn barod i'w dosparthu. Teitl y rhifyn cyntaf yw, "The True Faith;" a theitl yr ail yw, "True Repentance." Dysgwyliwn y deuwn ag un rhifyn allan bob pythefnos, hyd oni orphenir y rhestr. Saint, os ewyllysiwch weled eich rhifedi yn gyflym ddyblu neu mil ddyblu yn y gwledydd hyn, lledaenwch, gyda sêl ddiflino, yr argraffedig air, ac ymdrechwch gyda'r diwydrwydd mwyaf i achub eich hunain a'ch cymmydogion. Pan y llafurioch â'ch egni, fe lafuria Duw gyda chwi. Pan yr eloch yn segur neu yn llesg, llesgâ Duw ei law mewn coroni eich llafur â llwyddiant. Cynnwysa bob rhifyn 16 tudalen. Pris, 2g. neu 14s. y cant.

---

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, AWST 30, 1856.

Hynt y Cynnadleddau.—Derbyniasom yn ddiweddar lythyron oddiwrth amryw o'n brodyr llafurus a ffyddlon yn y weinidogaeth yn y rhan yma o winllan Crist.

Dywed y brodyr Evans ac Ashby fod Cynnadledd Sir Benfro yn unfrydol yn gwasanaethu yr Arglwydd,—yn talu eu degwm, ac adeiladu ei deyrnas yn mhob dull. Mae y brodyr E. D. Miles a Dafydd John yn teithio a phregethu yn ddiwyd, er gwaethaf eu gelynion gwaedlyd ag ydynt wedi ceiso eu bywyd; maent yn cael tyrfäoedd lluosog i'w gwrandaw yn astud.

Bu y brodyr Israel a J. Evans, a T. Jones, yn pregethu yn

nhrefydd glàn môr Sir Aberteifi, a chawsant dyrfäoedd lluosog i'w gwrandaw yn astud, a phrynu pob traethawd a feddent, a gofyn am ychwaneg. Mae golwg addawol ar y bobl yn y parthau hyny; ond mae mawr angen am lafurwyr yn eu plith. Ystyriwn mai anrhydedd mawr gawsant yn ymweliad eu "brenin" â hwynt. Mae sefyllfa Cynnadleddau Caerfyrddin a Llanelli, yn ol hanes eu llywyddion, W. Jones a D. Davies, yn gyffelyb i eiddo Sir Benfro—y degwm yn dyfod yn hwylus. Ymwelodd y brodyr John Kay, o'r Dyffryn, a Thomas Williams, o Swyddfa Lerpwll, â rhanau o'r Cynnadleddau Deheuol. Boddhawyd hwynt yn fawr yn nhiwyd lafur y brodyr T. Harris a J. Davies, yn Nghynnadledd Orllewinol Morganwg. Boddhawyd hwynt hefyd yn eu hymweliad â Merthyr, Caerdyf a Sir Fynwy. Mawr oedd eu canmoliaeth ar y canu yn Merthyr: dywedent mai da fyddai i'r Llywyddion geisio cael efelychiad o hono yn eu gwahanol Gangenau.

Trwy lythyr oddiwrth y brawd E. S. Morgans, o Sir Fôn, deallwn ei fod ef, a'r brodyr J. H. Davies, B. Davies, J. Morgans, a Noah M. Jones, y rhai a adawsant bob peth yn y deau er myned yno i adeiladu teyrnas Dduw,—rhai i weithio a'r lleill i deithio, yn tystiolaethu yn barhaus, gyda'r ffyddloniaid eraill sydd yno; eithr achwynant ar y Methodistiaid gwargaled, am eu bod yn diystyru cynghor Duw yn eu herbyn eu hunain, trwy beidio cymmeryd eu bedyddio ganddynt. Gosodasom beth o hanes Cynnadleddau Meirion a Fflint yn ein rhifyn diweddaf.

Dengys y cyfan fod Teyrnas Dduw yn Nghymru ar ei chynnydd, trwy fendith Duw ar ymdrechiadau ei weision. Frodyr yn y weinidogaeth—chwychwi ag ydych wedi cyssegru eich hunain, eich hamser, eich llafur, eich tueddfryd a phob peth, at achos Duw, ymgalonogwch; canys mae ei engyl Ef ar eich pwys, pan y byddoch yn llwybr eich dyledswydd, ac Efe ei hun yn hysbys o'r hyn oll a wneloch ac a ddyoddefoch dros ei Achos Ef. Ardystied ffrwythlondeb y prenau a driniwch yn ei winllan dros eich diwydrwydd. Chwychwi sydd wedi cael yr anrhydedd o'u trin a'u porthi; ond cofiwch eich bod yn gyfrifol hefyd! Edrychwch atoch eich hun os caniatewch i'r nodd dwyfol sydd yn dyfod i chwi yn wythnosol a phythefnosol i fyned yn ofer. Os yn esgeulus y byddwch, bydd ffrwyth eich

llafur yn ddirân ac allan o dymhor. Nid rhywbryd, pan fyddo pawb eraill bron a chwpla, y mae i Lywydd son am ddechreu cyflawni yr hyn a geisio Offeiriadaeth Duw.

Galwn eich sylw neillduol at Epistol ein Llywydd Orson Pratt. Cofiwch nad er y difyrwch o'i ddarllen y mae; ond i'w osod mewn gweithrediad yn ddioed, fel pob mesur arall a ddel. Yna dug brenau eich gofal gynnar ffrwyth, yr hwn yw y mwyaf dewisol bob amser.

Da yw genym glywed eich helynt bob amser, frodyr anwyl, a chael y pleser o groniclo eich henwau, a'ch gweithredoedd canmoladwy, fel y byddont wrthddrychau teilwng o efelychiad y cenedlaethau a ddel.

---

Mae yr Henuriad Israel Evans yn awr ar ei daith trwy y Gogledd, a'r Henuriad B. Ashby trwy y Deau. Dymunem i holl Saint Cymru, pa bryd bynnag y delo y naill neu y llall o'r brodyr yma i'w plith, i wneuthur y goreu o honynt tra eu caffont; canys maent yn dwyn bywyd ac iachawdwriaeth gyda hwynt.

---

Mae yr Henuriad Joseph W. Tuckfield, o Abertawy, wedi myned i Aberystwyth i weithio, er mwyn cynnorthwyo i bregethu yr Efengyl yn y parthau hyny. Llwyddiant iddo.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH Y CHWAER DANIELS.

*Dinas y Llyn Halen Mawr,*
*Mehefin* 27, 1856.

Fy anwyl Briod—Derbyniais eich caredig lythyr, dyddiedig Tachwedd 21, 1855, ar y 12fed o Fai diweddaf. Llawenydd mawr oedd genyf gael arddeall drwyddo eich bod mewn iechyd a chysur. Diolch i'r Arglwydd am iddo eich adferyd o'r dwymyn a gawsoch, gobeithiaf y gofala am danoch hyd oni ryddheir chwi oddiyna, ac y caffoch ddychwelyd at eich anwyl deulu, fel y caffom gydweddio, a chlodfori enw yr Arglwydd am ei fendithion lliosog.

Mae yn agos blwyddyn oddiar pan dderbyniais lythyr o ddi

wrthych, oherwydd fod y llythyr-gludydd mor ansicr: buom yma am chwech mis heb gael un i mewn o'r Talaethau Dwyreiniol ac nid oes argoel lai ychwaith nad felly y parha hyd oni ddechreuo un dyddiol y 'Mormons' eu hunain redeg, yr hyn sydd yn debyg o gymmeryd lle yn fuan: y mae ymdrechu mawr at hyny.

Maent yn bresennol wrth y gorchwyl o gwblhau y camlas o'r South Cotton Wood, er dyfrhau tiroedd y ddinas hon, ac y mae wedi cyrhaedd i ran o honi er's wythnos. Bydd camlas arall yn barod cyn hir er dyfod a'r graen-feini at y deml.

Yr oeddwn yn mawr hyderu y caffwn eich gweled eleni, ond cefais arddeall gan y brawd John Davies, yr argraffydd, ei fod wedi canfod hanes yn y *Star* fod y brawd Jones wedi cael ei ryddhau, a chwithau eich gosod i lywyddu yn ei le. Nid oedd y newydd hyn yn felys imi ar y cyntaf, ond, fel y dywedasoch yn eich llythyr, "Ewyllys yr Arglwydd a wneler, a'i gynghor a barcher, yw fy nymuniad, er nad yw bob amser yn ol teimladau y natur ddynol."

Dysgwyliaf lythyron yn aml oddiwrthych o hyn allan.

Cawsom arddeall, trwy y newyddiadur—y *Mormon*, mai â llaw-geirt yr ymfuda llawer eleni: gwelsom enwau llawer o honynt, ac yn eu plith lawer o'r Cymry. Yr Arglwydd a'u llwyddo ar eu taith.

Mae argoelion da am ymborth dynion ac anifeiliaid. Mae y cynhauaf wedi dechreu: bydd yn 'bres' cynhauaf yn y man.

Mae tua hanner ein *lot* ni dan waith, ac y mae yn dda odiaeth; pŷs, pytato, &c. yr un modd. Yr ydym yn bwyta pŷs llawnion er's dyddiau: Thomas fy mab fu yn eu gosod imi, yn mis Mawrth, tra yr oedd Dafydd yn Box Elder.

Gauafasom ein da yn Box Elder: cafodd Dafydd lawer o drafferth i'w cadw rhag trengu. Fe drengodd cannoedd o anifeiliaid y gauaf diweddaf. Bu yr eira ar y ddaear am tua phum mis. Bu farw gan Thomas un eidion blwydd, ac i Dafydd, un o'r ychain gwaith, yn Willow Creek, wrth dd'od i lawr o Box Elder, ac un fuwch hefyd. Trengodd pump o'n lloi ni hefyd; ac aeth un fuwch ar goll ini; ni wn pa un ai byw ai marw yw hono. Mae genym etto saith o wartheg, un bustach dwyflwydd, tair hanner flwydd, dau fustach, a thri llo etto yn

fyw. Mae genym bâr o geffylau gwaith, un ebol dwyflwydd, a dwy eboles flwydd rhagorol.

Nid ydym wedi gweled eisieu bara, caws, cig, nac ymenyn, er fod swn prinder cyffredinol, oherwydd i geiliogod y rhedyn ddifa cnŵd y flwyddyn o'r blaen braidd i gyd.

Yn unol a rhagddywediad y Prophwyd Brigham a'i Gynghorwyr, a'u hannogaeth "i'r bobl ystorio cynnyrch eu maesydd yn ofalus, rhag i fflangell anufydd-dod eu dal â newyn," megis ag y gallech gofio y geiriau, y gwnaeth ef ac eraill. Da oedd iddynt wneuthur felly, canys wedi i'r newyn ddyfod, gwelid Brigham Young ac eraill yn cyfranu yn haelionus, gan ddywedyd wrth y rhai anghenog, "*Come on boys*," a bod eu blawd càn yn chwyddo o hyd. Cyfranodd un brawd yr oll oedd ganddo yn y gasgen, oddieithr yr ysgubion ar ei gwaelod. Yn mhen tro, pan aeth y wraig i'w hysgwyd,* er ei syndod, cafodd y gasgen yn hanner llawn. Gofynodd i'w gwr os bu efe yn gosod càn yn y gasgen. Yntau a atebodd naddo. Aeth yntau i weled, a chafodd mai fel y dywed hi yr oedd. Dygodd hyn i'm cof yr hanes a anfonasoch o freuddwyd a gawsoch yna ynghylch prinder yma, pan y gwel'soch yr angylion yn gweini i'r Saint, &c.

Mae Thomas fy mab a'i deulu yn byw yn Box Elder. Fel y dywedais o'r blaen, trengodd un eidion blwydd o'i eiddo. Mae ganddo etto iau o ychain brâf, pump o wartheg, ynghyd a threisiedi a lloi. Mae ganddo ddau blentyn, sef MaryJane, a Thomas. . . .

Mae yr holl Gymry yn y lle hwn yn iach, ac yn cofio atoch yn fawr—y ddau frawd Jeremy a'u gwragedd; Daniel Thomas o'r Esgerhydd, a David Wiliams o'r Ystrad.

Cofiwch fi at fy chwiorydd, eu gwyr a'u plant, ac at eich brodyr a'ch chwiorydd chwithau, a'ch mam os yw hi yn fyw. Gobeithiaf y deuant yn fuan i ffordd y bywyd Dywedaf unwaith etto fy mod wedi dyfod i'r unig ffordd sydd yn arwain i fywyd tragywyddol.

Dymunaf i chwi fy nghofio at Sarah Williams, Cerbyne, ac Anne Lewis, Cwmcôch, a'u teuluoedd, ac at deulu'r Llawrbarth, teulu y *Plough*, a'm hen gymmydogion, a'r Saint yn ddiwahan.

Mae Henry Harris, gynt o'r Talog yn cofio yn garedig atoch ac at deulu Rhyd-y-garreg-ddu, ac yn deisyf arnoch i wneyd

pob ymdrech er eu cael i'r eglwys, fel y gallont ddyfod drosodd yr un pryd a chwi i'r diogelwch.

Gyda dymuniad dros eich llwyddiant tymhorol ac ysbrydol y gorphwys

Eich anwyl briod,
MARY DANIELS.

*Yn yr enghraifft uchod cawn fod Duw yr un i'r Saint yn y dyddiau hyn ag ydoedd pan y bendithiodd y blawd yn y celwrn, a'r olew yn yr ysten.—Gol.

---

## LLON FYDD Y MORMON.

(*Tôn—"Pop Goes the Weasle."*)

Er i bawb sydd îs y nen,
Deimlo'n llwyr anfoddlon;
A chan gythraul ysgwyd pen,
Llon fydd y Mormon.
Nid ymgeisia yn ei fyw,
Foddio rhai annoethion;
Rhodio wna 'nol meddwl Duw,
Llon fydd y Mormon.

Uned gwawdwyr pena'r byd,
Bloeddiant fel ellyllon;
"Fedda'r Saint ond twyll i gyd,"
Llon fydd y Mormon.
Gwnaed y balch gyfodi' ben,
Gan ymchwyddo'n greulon;
A rhoed arall ddirfawr sen,
Llon fydd y Mormon.

Os pregethwyr "mawr eu dawn,"
Waeddant mewn oedfeuon;
"Fod y Saint o dwyll yn llawn,"
Llon fydd y Mormon.
Teithient hwy bob tref a gwlad,
Traethant eu 'storeuon,
Gan oer floeddio'n hyll eu nâd,
Llon fydd y Mormon.

Pan ddel troion chwerwon chwith,
  Eilwaith o elynion,
Rhai heb grefydd, ond ei rhith,
  Llon fydd y Mormon.
Dyoddefa boen a gwawd,
  Dirhaid ar rhyw droion;
Er dwyn cysur idd ei frawd,
  Llon fydd y Mormon.

Pan yn teithio llawer man,
  I lesoli dynion;
Er mai adfyd fydd ei ran,
  Llon fydd y Mormon.
Pan ar droion gwelir ef,
  Coeliwch, mewn gwasgfeuon,
Heb orphwysfa îs y nef,
  Llon fydd y Mormon.

Aed cenedloedd gwyllt a gwâr,
  Filoedd i ymryson;
A rhyfelant yn eu bâr,
  Llon fydd y Mormon.
Deued haint a newyn du,
  Difent yn echryslon;
Aed i'r bedd fawreddog lu,
  Llon fydd y Mormon.

Gan y gwyr mai felly bydd,
  Nodau ac arwyddion,
Ac yn gyfiawn Duw a'u rhydd,
  Llon fydd y Mormon,
O'r trychineb dianc wna,
  Pawb a fydd yn ffyddlon—
Pan o gyrhaedd haint a phla,
  Llon fydd y Mormon.

Pan fel hyrddod llam pob bryn,
  Rhua tonau'r eigion;
Pan o'i seiliau byd a gryn,
  Llon fydd y Mormon.

Pan â heibio'r "hâf" yn llwyr,
Fflamia'r byd yn wreichion;
Pan elfenau dawdd fel cwyr,
Llon fydd y Mormon.

*Gynt o Feirion.* JOHN DAVIES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

---

DYWED llythyr o'r gwersyll fod cwmnioedd y llongau *Thornton* ac *Horizon* wedi cyrhaedd yno yn ddiogel. Yr oedd cwmpeini â llaw-geirt i gychwyn dros y Gwastadedd Gorphenaf 14.

☞ GORFUWYD ni i adael yr erthygl ar y *Gwahaniaeth rhwng y Bedyddwyr a Saint y Dyddiau Cyntefig* allan y tro hwn o ddiffyg lle. Bydd *Llythyr oddiwrth y Brawd Jeremy* yn y nesaf.

"DIVINE AUTHORITY."—Mae argraffiad newydd o'r traethawd hwn yn barod, ac i'w gael yn Swyddfa Lerpwll.

☞ YR ydym wedi newydd dderbyn Llythyr oddiwrth yr Apostol Ezra T. Benson, o Llundain, yn roddi hanes fod neuaidd y Saint yno yn cael eu gorlenwi â gwrandawyr yn awyddus am glywed y gwirionedd. Ar ol iddo dreulio tua chwech wythnos ar y Cyfandir, bwriada ddyfod i Gymru.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O AWST 15 HYD 26.—Thomas Stephens, £5; John Thomas, 8s.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 19.] MEDI 13, 1856. [CYF. IX.

### LLYTHYR THOMAS JEREMY.

*Dinas y Llyn Halen Mawr,*
*Mehefin* 29, 1856.

ANWYL FRAWD DANIELS,—Yr wyf yn awr newydd ddychwelyd o'ch tŷ chwi, a chefais yno bleser mawr wrth ddarllen eich llythyr cynnwysfawr at eich priod; da genyf ddeall eich bod yn mwynhau iechyd, yr hyn sydd yn un o roddion gwerthfawr eich Duw. Gan fod eich priod yn ysgrifenu atoch ei hunan, gyda y llythyr-gerdyd sydd yn gadael oddiyma boreu dydd Mawrth nesaf, ni wnaf roddi newyddion oddi wrthynt hwy i chwi, ond yn unig dywedaf eu bod yn gysurus, a'r Arglwydd yn eu llwyddo, a Dafydd yn ddyn mawr cryf a gwrol tebyg iawn i'w dad.

Cefais y pleser boreu heddyw o wrando dau o Apostolion y y Dyddiau Diweddaf yn annerch y Saint yn y *Bowery*, sef P. P. Pratt ac Amasa Lyman. Wedi i'r Apostol Pratt roddi ychydig o hanes ei genadiaeth trwy y sefydliadau deheuol o'r Diriogaeth hon, sylwodd wed'yn ar y nerth a'r gallu mawr sydd yn dilyn Saint Duw, pa rai a eneinnir yn ei Deml santaidd, er na theimlent efallai lawer ar y pryd, ond eu bod yn cael eu heneinnio erbyn y deuai galwad am nerth yr eneinniad hwnw, megys yn achos Dafydd gynt, yn lladd Goliah, &c.

Testun y Brawd Lyman yn fwyaf neillduol oedd annog y Saint i harddu preswylfeydd Seion yn fwy-fwy yn barhaus, fel

na fyddo achos i ni gywilyddio pan ddaw y Seion oddifry i waered. Annogodd bawb o honom i ddilyn ein parchus Lywydd Brigham Young mewn adeiladu, planu, &c., fel y byddo Seion yn ogoneddus, canys diau y daw y mawrion o blith cenedloedd y ddaear.

Mae gwaith yr Arglwydd yn llwyddo yma, er nad mor gyflym ag y dymunem, o herwydd fod ceiliogod y rhedyn wedi dystrywio y cnydau ŷd i raddau helaeth yn y flwyddyn a aeth heibio; etto gwneir darpariadau helaeth er cwblhau y Deml. Y mae camlas mawr ar waith i ddyfod a dwfr o'r Big Cottonwood i'r ddinas hon, er trosglwyddo y *granite stones* mewn bâdau; bydd y camlas tua 15 milltir o hyd.

Bydd y gwaith yn cynnyddu yma yn fwy nâ dwbl wedi y caffom ein cynheuaf i mewn. Mae y cnydau eleni yn rhagorol o dda; credir fod dau cymmaint eleni o gnydau trwy y Diriogaeth nag a fu mewn un flwyddyn flaenorol oddiar pan y daeth y Saint yma gyntaf.

Nid yw manteision y Saint yma wedi bod cystal ag y dymunent er anfon am eu perthynasau a'r Saint teilwng oddiyna, ond daw yn well yn fuan. Cofied y Saint sydd yna nad yw Seion wedi cael ei hadeiladu etto; hyd hyny bydd eisieu nerth braich ac ysgwydd er cario y gwaith yn y blaen, o herwydd y mae yr amser yn fyr a'r gwaith yn fawr, a chymmaint byth ag a allom i wneuthur yw dyfod yn barod erbyn y daw yr Arglwydd Iesu i ymweled â'r ddaear hon. O, mor hyfryd, frawd Daniels, yw cael llafurio yn ngwinllan ein Duw; yr Arglwydd a'ch bendithio â grym a nerth yr Offeiriadaeth a dderbyniasoch yma; angylion yr Arglwydd a'ch gwylio ddydd a nos, rhag gelynion a dynion drwg, canys ni fu ar ein daear un dyn da erioed heb elynion. Yr ydych yn cael eich cofio genym yma yn nhŷ yr Arglwydd, ac y mae amryw o'r brodyr ffyddlon yn gofyn i mi "Pa bryd mae y Brawd Daniels yn dychwelyd."

Pan ddychwelais yma, cefais dderbyniad mawr gan y Llywydd Brigham Young a'i Gynghorwyr, ac ereill; y peth cyntaf a ddywedent oedd—"*God bless you brother Jeremy.*" Yr oedd pethau fel yna yn gysur mawr i mi os nid i neb arall

Carwn i chwi fy nghofio at y Saint anwyl yna fil o weithiau, ond at neb yn fwy nâ'r Llywydd Daniels. Carwn i chwi fy nghofio yn fawr at fy chwiorydd, ac at eu gwyr a'u plant, a

phawb a ddigwyddo holi am danaf. Mae fy nheulu o un fryd calon gyda mi yn dymuno eu cofio atoch. Cofiwch fi yn fawr at eich Cynghorwyr, a'r Brawd Thomas Harris a'i deulu.

Os gwelwch yr ysgrif hon yn deilwng o ymddangos yn yr UDGORN, y mae at eich gwasanaeth.

Gorphwysaf yn bresennol,

Ydwyf, fel arferol,

Eich brawd yn Nghrist,

THOMAS JEREMY.

---

## LLYTHYR GWILYM DDU.

*Dinas y Llyn Halen Mawr, Meh.* 26, 1856.

ANWYL FRAWD DANIELS,—Yr oeddwn yn addaw i mi fy hun lawer o orfoledd a phleser meddwl yr hydref dyfodol, gan ein bod yn dysgwyl eich dychweliad adref o'ch cenadiaeth; ond pan y clywsom yr hanes o'r "Star" cawsom ein siomi yn ein dysgwyliad; ond gan fod eich cenadiaeth yn parhau, ac nad yw yn debyg y cawn eich cymdeithas y tymmor hwn, etto yr ydym yn cyd-lawenhau, fel brodyr a chwiorydd Cymreig, fod eich coelbren wedi disgyn i fod yn Lywydd ar ein cyd-genedl yn ngwlad ein genedigaeth. Yr Arglwydd grasol a'ch cynnalio, ac a gyfrano i chwi o Ysbryd eich galwedigaeth santaidd yw fy ngweddi daer a chysson, ïe, mentraf ddweyd, gweddiau pawb a'ch hadwaenant o'r Cymry, ynghyd a chenedlaethau ereill yn Seion.

Ni chymmeraf arnaf yn y llythyr hwn i ysgrifenu llawer o newyddion i chwi, gan fod y chwaer Daniels yn ysgrifenu. Mae gwell argoelion am gynnaliaeth dynion ac anifeiliaid eleni nag oedd y llynedd, gan nad ydym yn cael ein blino gan geiliogod y rhedyn mor gyffredinol, er eu bod yn dyfetha rhyw ychydig mewn rhai manau o'r Diriogaeth eleni etto, ond dim mewn cymhariaeth i'r llynedd.

Yr wyf mewn ychydig o ofid ynghylch Mary fy merch yn bresennol, gan ei bod wedi amlygu ei dymuniad i ddyfod i ffwrdd, mewn llythyr ataf, ac anfonais innau atti y buaswn yn talu ei thraul fel ag y gwnaethym â Henry; ond y mae y ffordd yn ymddangos yn gauedig yn bresennol, am y fod y Gweithfaoedd Cyhoeddus wedi sefyll er diwedd y flwyddyn ddiweddaf, yr hyn

a achoswyd gan y prinder o herwydd y ceiliogod y rhedyn a'r sychder. Pe buasai y gwaith wedi para buaswn wedi talu i'r Drysorfa cyn hyn, ac yna gallwn anfon am dani erbyn y tymmor nesaf. Hefyd y mae rheolau y Drysorfa yn fwy caeth yn awr nag oeddynt; y mae yn rhaid talu yn llawn yn awr cyn anfon. Ni wn i pa fodd y try pethau allan yr hydref nesaf; dywedir y cychwyna y Gweithfaoedd Cyhoeddus ar ol y cynheuaf, ond bydd yn ddiweddar y pryd hyny i anfon erbyn y tymmor nesaf. Mi ddymunwn arnoch chwi, anwyl frawd, os gwelwch ryw gyfle ei hanfon fel gwasanaethyddes gyda rhywun, hyny yw, os na fydd yn drafferth a rhwystr i chwi, oblegid ystyriwyf fod pwys eich galwedigaeth eisoes yn fawr, heb i neb eich llwytho â rhyw negeseuau fel hyn. Yr wyf wedi talu Capt. Davies a'r brawd Sykes; adeiladais bob o dŷ iddynt y llynedd, ac yr wyf yn foddlon gwneyd fy ngoreu ar ran Mary etto.

Y mae teulu Neff yn sòn llawer am danoch ac y maent yn cofio atoch. Yr oedd yn dda iawn gan Ann a minnau ganfod eich llythyr, ac eich bod wedi gweled ei mam. Yr Arglwydd a lwyddo eich ymdrech i ddwyn rhai o honynt, os nid i gyd, i afael iachawdwriaeth. Anwyl frawd, y mae arnaf hiraeth am eich gweled, a chael cymdeithasu â chwi.

Eich serchiadol frawd,

WM. LEWIS.

---

## LLYTHYR JOHN PARRY.

*Winter Quarters, Gorph. 27, 1856.*

ANWYL FRAWD DANIELS,—Yn ol eich dymuniad, wele yr wyf yn anfon ychydig o'n hanes i chwi trwy lythyr, gan obeithio y gwnewch esgusodi ei fyrdra a'i wallau, am fy mod mewn brys mawr iawn.

Mae yn dda genyf allu eich hysbysu fy mod i a'm gwraig yn iach, ac fod y gwersyll yn gyffredinol yn mwynhau iechyd rhagorol o dda. Nid yw yn fuddiol i mi roddi hanes ein taith dros y môr i chwi, gan fod hyny wedi cael ei wneyd gan ereill. Ond mi a ddywedaf mai môr daith ystormus anghyffredin a gawsom, etto ni fu neb farw ond ychydig o fabanod bychain. Daethom drosodd mewn tua phump wythnos, sef i Boston, yr hon sydd yn dref

bardd neillduol. Daethom oddi yno i ddinas Iowa gyda y Rheilffordd. Pawb yn iach, oddieithr rhai babanod, yn mhlith pa rai yr oedd fy maban fy hun. Buom wyth diwrnod yn teithio ar yr Rheilffordd, ac arosasom yn ninas Iowa am dair wythnos; yna cychwynodd o gwmpas tri chant o honom tuag yma. Edward Bunker yw ein Llywydd, a thri o honom wedi ein gosod yn Gaptainiaid ar y cannoedd. Cyrhaeddasom yma gyda'n llaw-geirt mewn oddeutu tair wythnos yn lled llwyddiannus, agos i 300 o filltiroedd, heb ddim marwolaethau ond un baban, er fod genym rai hen bobl, o bedwar ugain i gant oed, pa rai oedd yn cael eu cario yn y wageni gyda'r ymborth.

Grwgnachodd amryw am nad oedd cyflawnder o fwyd yn cael ei roddi, a safodd rhai ar ol o'r herwydd; ond yr oeddwn i yn byw ar yr hyn ag oedd yn cael ei roddi allan, ac yn llafurio gymmaint ag undyn yn y gwersyll, a deallwch fy mod yn fyw, ac yn edrych yn well ac yn iachach nag y bum erioed o'r blaen, er fy mod yn ystyried fod yr ymborth yn lled fychan; ar yr un pryd yr oedd doethineb yn hyny, oblegid yr oedd gan bawb o honom braidd, fwy o *luggage* neu o lestri nag oedd yn ganiatäol. A thrwy y cynllun hwnw fe werthwyd y pethau afreidiol am ymenyn a chig, &c., hyd nes yr ydym yn awr yn barod i gychwyn dros y plains, er fod eisieu arnom leihau amryw bethau etto.

Yr wyf yn meddwl na arosodd neb ar ol ond y rhai hyny oedd yn analluog i dalu dim at eu cludiad eu hunain. Y mae digonedd o ymborth yn cael ei ganiatâu i ni oddiyma i'r Dyffryn, heblaw yr hyn a ellir ddysgwyl i'n cyfarfod.

Yr ydym yma er wythnos i ddoe, a bwriadwn gychwyn tua'r Dyffryn dydd Mawrth nesaf os gallwn gael pob peth yn barod i'r daith.

Gwlad ragorol o hardd a phrydferth yw yr America, llawnder o bob peth ond o drigolion. Ni welais i neb yn edifarhau am eu bod wedi gadael yr hen wlad, ond yn canmol Duw am eu gwaredigaeth o honi. Clywsom fod golwg am gynheuaf rhagorol o dda yn y Dyffryn eleni. Mae pob peth yn dda gyda ninnau. Mae cwmnioedd y llaw-geirt yn myned yn y blaen yn *first-rate*. Mae yn hawddach genym gerdded ugain milltir y dydd yn awr nag oedd genym gerdded deg ar y dechreu, a phawb yn cynnyddu mewn nerth ac iechyd, yn ol prophwydoliaeth y Prophwyd Brigham.

Nid oes genyf amser i ysgrifenu fawr yn rhagor; nis gallaf gael amser i ysgrifenu at y rhai a addewais. Dymunaf arnoch fy nghofio at yr holl Saint yn Nghymru, yn neillduol fy mrodyr a'm chwiorydd yn y Gogledd. Carwn yn fawr eu gweled wedi cael gwaredigaeth o greulon gaethiwed Babilon i ogoneddus ryddid plant Seion.

Mae Thomas Morgans gyda mi yn awr, ac y mae yn anfon ei gofio atoch yn fawr. Yr wyf finnau yn anfon fy nghofion gwresocaf atoch chwi ac at eich Cynghorwyr, ac at Lywyddiaeth Cynnadledd Sir Ddinbych ac at Saint eu gofal. Dymunaf eich llwyddiant yn mhob peth.

Ydwyf eich brawd yn Nghrist,

JOHN PARRY.

---

## TEIMLAD CENADWR.

*Llanfermiallt, Awst* 25, 1856.

MR. GOL.,—Da genyf gael y cyfleusdra presennol i roddi rhyw ychydig o hanes fy nhaith drwy y wlad i chwi. Yr wyf mewn llawn penderfyniad i gyflawni y cynghor a gefais genych mewn perthynas i lafurio yn mhlith y byd, er fy mod dan lawer o anhawsderau yn fynych. Pregethais allan neithiwr yn y dref i amryw o wrandawwyr astud. Nid wyf wedi bedyddio neb hyd yn hyn, ond y mae amryw yn y dref hon, ac mewn trefydd ereill, yn credu yr egwyddorion, ond ni feddant ddigon o ddewrder yn bresennol i ufyddhau, o herwydd nad oes Cangen wedi ei sefydlu yma; y mae genyf ffydd y daw rhai allan cyn bo hir. Y mae gelynion y gwirionedd yn cynhyrfu yn fawr mewn rhai manau o Sir Feisyfed, gan godi cynhwrf pan fyddaf yn pregethu, ac y maent yn annog eu plant i floeddio ac ysgrechain, nes y mae yr onestion eu calonau yn teimlo, ac yn dyfod i ddeall mai dyfais y diafol yw hyn oll, er rhwystro dynion i wrandaw ar was Duw yn pregethu yr efengyl dragywyddol yn nghyflawnder ei bendithion. Yr wyf yn cael fy nghalonogi drwy Ysbryd Duw, nes yr wyf yn teimlo yn wrol yn mhoethder y frwydr, gan gael cyflawn adnabyddiaeth fod Duw gyda mi

Bu y brawd John Jones, Llywydd Brycheiniog gynt, gyda mi yn pregethu fel cawr yn Llanfair a Rhiadr, &c. Bu y brawd

John Jones fel tad i mi cyhyd ag y bu yma, a'm dymuniad yw ar i fendith yr Arglwydd i'w ganlyn.

Yr wyf yn teimlo yn dda gyda gwaith yr Arglwydd, ac yn ddiolchgar am gael rhan yn y gwaith mawr a phwysig hwn. Teimlaf hyfrydwch mawr yn fynych trwy ymneillduo i'r dirgel i weddio ar yr Arglwydd. Hyn yn fyr oddiwrth

Eich gostyngedig frawd yn Nghrist.

JOSEPH GRIFFITHS.

---

## CYFRAITH Y DEGWM.

(M. N.—8. 7.)

HENFFYCH groesaw cyfraith Degwm,
Tyr'd yn mlaen i gael dy ran,
Cefaist lawer o'th ddirmygu
A'th yspeilio'n llawer man;
'Nawr ymwelaist ti â Chymru,
Yn dy foneddigrwydd mawr,
Ac yn enw'r hwn a greodd
Yr holl nef a'r ddaear lawr.

Cefaist dy groesawu 'n hawddgar,
Gan yr hybarch Abraham,
Ac fe ddysgodd idd ei deulu,
I'th ddyrchafu yn ddinam;
Jacob hefyd a'th fawrygodd,
Gan dy barchu yn mhob man,
Ac o'r oll o'i eiddo beunydd,
Cefaist ganddo 'r ddegfed ran.

Nis gall neb dy anrhydeddu
Heb gael ffydd hen Abraham,
Dyma'r rhai a'th wir gofleidiant,
Ac a'th garant megys mam;
Pawb sydd heb y ffydd a nodwyd,
Sy'n dy gamgymmeryd di,
Gan dy 'styried megys gormes,
Yn eu 'speilio o'u holl fri.

Ond y rhai a feddant gyfran
O'r anwylaidd werthfawr ffydd,
Credant mai eu lles a geisi,
A'u dyrchafu wna'i bob dydd ;
Credant hefyd 'r holl gyfreithiau,
Sydd i dd'od o Seion gu,—
Ni thramgwyddant, ac ni fethant,
Yn holl bynciau'r nefoedd fry.

*Fflint.* T. Conway.

---

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MEDI 13, 1856.

Newyddion o'r Dyffryn.—Galwn sylw ein darllenwyr at y llythyron sydd yn nechreu y rhifyn hwn. Y mae llawer o frodyr a chwiorydd yn Nghymru sydd wedi cael addewid gan eu perthynasau yn Seion, y byddai iddynt anfon am danynt cyn hyn, ac etto heb wneyd, o ba achos y mae llawer wedi gwangaloni ac wedi myned i wanobaith na anfonir byth am danynt. Ond trwy lythyron y brodyr Thomas Jeremy a Wm. Lewis dealla y Saint fod yr oediad hwn wedi ei achosi gan y prinder a fu yn Nhiriogaeth Utah yn ddiweddar o herwydd ceiliogod y rhedyn, &c. Deallir hefyd trwy y "Deseret News" a thrwy amryw lythyron heblaw y rhai cyfeiriedig, fod gwell argoelion am gynheuaf mwy toreithiog nag a welwyd erioed o'r blaen yno.

Dyfynwn a ganlyn o lythyr a ysgrifenwyd gan B. Young at Orson Pratt, dyddiedig Meh. 30 :—

"Mae yr Indiaid yn heddychlawn, a llawer o honynt yn ddiwyd gyda galwedigaethau amaethyddol; y rhai fu yn wrthwynebol yn y gwanwyn, gydag eithriad o Tintic, a ddaethant i fewn, a dysgwylir ef yn fuan.

"Dechreua y cynheuaf yn fuan, torir ychydig haidd yr

wythnos hon, a pheth gwenith yr wythnos nesaf, ond nid rhyw lawer cyn y 15fed neu yr 20fed o Gorph. Ymborth, wrth gwrs, sydd yn parhau yn eithaf prin.

"Mae y dwfr yn eithaf prin er dyfrhau, yr hwn a achosa golled o beth ŷd. Dygasom y Big Cottonwood, fel y gellir ei ddwyn i'r *five-acre lots* a'r rhan ddwyreiniol o'r Ddinas, ac yr ydys yn gweithio o hyd fwy neu lai ar y camlas hwnw, yr hwn fydd, yn y diwedd, o leshad mawr i'r Ddinas, nid yn unig mewn diwalliad dwfr er dyfrhau, ond hefyd er trosglwyddo y *granite-rock* at adeiladu. Gobeithiwn ei gael i weithrediad yr hydref hwn.

"Mae iechyd y cyfundeb yn dda yn gyffredin, a'r cnydau yn gyffredin a edrychant yn rhagorol. Danfonwn weddeuau ac ymborth i gyfarfod a'r cwmnioedd ymfudol mor gynted ag y cawn ddigon o gynheuaf, o'r hwn y gallwn gael digon o flawd at hyny."

---

Ymfudiad.—Yr holl Saint a ewyllysiant ymfudo yr hydref hwn, a annogir i anfon yma, gyda brys, eu £1 o flaen-dâl, enwau, oedran, lle genedigol, galwedigaethau, a'u cyfarwyddiadau. Mae yn debygol y danfonir allan long ryw amser yn y mis nesaf; a dymunir gwybod o leiaf un mis cyn ei hwyliad, pa nifer a ewyllysiant gael lle ynddi. Dymunir cael oedran yr holl fabanod o dan ddeuddeg mis.

---

## CYMMANFA SIR FFLINT.

*Rhosllanerchrugog, Medi* 1, 1856.

Mr. Gol.,—Cynnaliwyd y Gymmanfa uchod yn yr Wyddgrug, Sul y 24ain o Awst, pryd y cawsom gymdeithas amryw frodyr a swyddogion dyeithr. Cynnaliwyd Cynghor yn y boreu; fe ddechreuwyd trwy ganu a gweddio gan yr Henuriad Samuel Parry, Rhos. Yna llefarodd y Llywydd Thomas Rees ar ddyben ein dyfodiad at ein gilydd, ac am y fraint o ymgynnull yn nghyd i ymwneyd â gwaith a gwasanaeth yr Arglwydd yn y dyddiau hyn.

Yna galwyd ar yr ysgrifenydd i ddarllen y cynnrychioliad, cyfanswm o ba un sydd fel y canlyn.—Hen 19, Off. 3, Ath. 5,

Dia. 2, Bed. 2, torwyd allan 3, ar wasgar 9, cyfan 103. Wedi hyny cawsom ein hannog gan y brawd Israel Evans; dysgodd yn fywiog a gwresog am waith Duw ar y ddaear. Yna cymmeradwywyd holl awdurdodau yr Eglwys yn unfrydol, ac yn ganlynol cawsom addysgiadau buddiol a llesiol gan Israel Evans a chan y Llywydd Thomas Rees. Terfynwyd y cyfarfod boreuol trwy ganu a gweddio gan Griffith Roberts.

Pregethwyd i gynnulleidfa liosog iawn yn y prydnawn gan y brodyr Griffith Roberts, John Jones, ac Israel Evans. Yn yr hwyr pregethodd y brodyr Noah Jones, Griffith Roberts, John Jones, ac Israel Evans. Yr oedd yno rai o elynion y Saint wedi dyfod yn nghyd, gan chwennych codi cynhwrf, ond er eu gwaethaf fe dderbyniodd rhai y gwirionedd. Ni fedyddiwyd ond dau y noson hono, ac arwyddion am ychwaneg. Cafodd y brodyr nerth Ysbryd Duw i bregethu yr efengyl drwy y dydd, a'r onestion eu calonau a ymbleserent wrth wrandaw. Terfynwyd gwaith y dydd trwy weddi gan John Jones.

T. Rees, Llywydd,
A. Clarke, Ysgrifenydd.

---

[Derbyniasom lythyr arall oddiwrth yr Henuriad J. Jones, yr hwn sydd yn cynnwys yr un hanes a'r un blaenorol. Mae yn dda iawn genym ddeall am y llwyddiant a'r argoelion daionus a ddilynant lafur ein brodyr yn y Gogledd.—Gol.]

---

## YR OFFEIRIADAETH.

Mae rhyw gynhwrf garw iawn,
Yn y gwersyll;
Ofni mae y mawr eu dawn,
'Nawr ein sefyll;
Nerth yr Offeiriadaeth yw,—
Fe orchfyga,
Gau grefyddau o bob rhyw,
Haleliwia.

Mewn awdurdod y mae hon,
Gan y Seintiau;
Ninnau sydd a'n gwedd yn llon,
Am ein breintiau:

Fe lywydda'n ddinacâd,
Yr holl fydoedd,
Hon ddyrchafodd ein hoff Dad,
Fry i'r nefoedd.

Hebddi nis gallasai Duw,
Greu'r planedau,
Na rho'i iddynt 'nol eu rhyw,
Santaidd ddeddfau;
Ar ein pelen fechan ni,
Fe ganfyddir,
Mil o filoedd maith diri',
Yn dra eglur.

O wrthddrychau bach a mawr,
Er ein syndod,
Trwy ei grym bodolant 'nawr,
Gan y Duwdod;
Deddfau anian dan y nef,
Lywodraethir.
Gan yr Offeiriadaeth gref,
Er ein cysur.

Breiniol allu uchel ryw,
Fe lywydda,
Cangen o'r un flaenaf yw,
Pwy a wada?
Mae bendithion ynddi'n 'stôr,
Clod am grefydd,
Hon fydd sylfaen gorsedd Iôr,
Yn dragywydd.

Galwyd Iesu 'n cyfaill mâd,
Yn Offeiriad,
Trwy lŵ santaidd gan ei Dad,
A chyssegriad;
Swydd anfeidrol uwch a gâ'dd,
Rhosyn Saron,
Nâ'r Offeiriaid uchel radd,
'Nol urdd Aaron.

Hyd orseddfainc fawr y Tad,
Geill ddyrchafu,

A'r iselaf gylch yn rhâd,
Mae'n lywyddu;
Nid oes dechreu iddi, clyw,
Mae'n drag'wyddol,
Nid rhyw gysgod diddim yw,
Un sylweddol.

Trwy'r bydyssawd oll o'r bron,
Ni cheir iddi
Riaint, na neb achau llon,
Yn bodoli;
Os edrychaf draw drwy ffydd,
Yn mhen oesoedd,
Ni chaf ddiwedd ar ei dydd
Trwy'r canrifoedd.

Gan fod Crist ein nefol Ben,
Yn meddiannu,
Y swydd yma tra îs nen,
Gwnaeth gyfranu;
Yr un urdd i luoedd maith,
O blant dynion—
Caf eu gwel'd ar ben fy nhaith,
Draw yn Seion.

I'r dyffaethwch aeth y wraig.
I ymguddio,
Trwy fod beunydd yr hen ddraig,
Yn ei blino;
Aros yno wnaeth yn wir,
Dros ganrifoedd,
A thywyllwch dros y tir,
A ymdaenodd.

Fe gymmerwyd 'nol i'r nef—
Ddwyfol senedd,
Y wir Offeiriadâeth gref,
At yr orsedd;
Hon nis gall'sai'r sarff a'i llid,
Byth ddyfetha.
Cenir iddo trwy ein byd,
Sain Hosanna.

Gwelwyd goleu dysclaer draw,
Yn ymddangos,
Mae bendithion fyrdd gerllaw,
Yn ein haros;
Wel, atolwg, pa beth oedd—
Yn goleuo,
Canys uchel iawn y floedd,
Glywyd yno.

Angel ydoedd yn y nef,
Lawr yn dyfod,
A'r Efengyl ganddo ef,
Mewn awdurdod;
Ac i'r Prophwyd Joseph Smith,
Fe'i dadguddiodd,
Uchel fydd ei enw byth,
Am a gafodd.

Mae Elias gwedi d'od,
I'r cyfandir,
Pob peth gynt ag oedd mewn bod,
A adferir;
A'r mab gwryw hefyd ddaeth,
Mewn mawr allu,
Seiniaf glodydd ar fy nhaith,
I Grist Iesu.

Joseph, y Gweledydd mawr,
A'i derbyniodd,
Ac i luoedd ar y llawr,
Fe'i cyfranodd;
Canys engyl cedyrn nef,
Yn sylweddol,
Ddarfu ei ordeinio ef,
Yn Apostol·

Careg o Gumorah draw,
Oedd mewn daear,
Dorwyd heb gynnorthwy llaw,
Yn ddiweddar;
Treiglo wnaeth o dòn i dòn,
Gan orchfygu,

Nes y daeth i'r ynys hon,
Er ein lloni.

Holl ddoethineb dynolryw,
A ddilëir,
Trwy nerth Offeiriadaeth Duw,
Fe'i gorchfygir;
Gwelir 'nawr wrth oleu clir,
Mai breuddwydio,
Oedd y mawrion rai yn wir,
Fu'n esborio.

Mae'r mab gwryw mewn nerth 'nawr,
O fewn Cymru.
Carwyr y cyflogau mawr,
Sydd yn crynu;
Gau-athrawon o bob rhyw,
A'r esgobion,
A'r crefyddau croes i Dduw,
Ofnant Seion.

Am fy mod yn un o'r Saint,
'Rwyf yn moli,
Annhraethadwy yw y fraint,
Wyf yn feddu;
Sef cael swydd yn Eglwys Dduw,
Swydd ysbrydol,
Nid un ddynol egwan yw,—
Mae'n dra nerthol.

Unwn Seintiau yn un llef,
'Roddi moliant,
I'n Tad santaidd yn y nef,
A gogoniant;
Canys synagogau'r byd,
A chwylfriwir,
A bloeddiadau'r "Peirch" i gyd,
A ostegir.

Diolch, gwelaf Deml draw,
Yn y Dyffryn,
Lle daw'r Brenin maes o law,
Yn dra sydyn;
Minnau âf dan ganu' llon,
Pan caf genad,
O fewn muriau santaidd hon,
Hyn yw'm bwriad.

*Diweddar o Goleg Hwlffordd.* DEWI IOAN DYFED.

# LLYFRAU AR WERTH

GAN D. DANIELS, YN SWYDDFA "UDGORN SEION," ABERTAWY,
A'r Prisiau i'r Cangenau a'r Cynnadleddau.

---

*Llyfr Mormon*, yn rhwym 4s ;—4s 3c.

*Athrawiaeth a Chyfammodau*, yn rhwym 3s ,—3s 3c.

*Llyfr Hymnau*, rhwymiad harddaf 2s 3c,—3s 5c

Etto, yr ail oreu 2s, 2c.

Etto, o groen llo cryf 1s 9c;—1s 11c.

*Udgorn Seion*. Cyf. I—IV, yn rhwym 3s yr un. Cyf. V., 1s 10¾c. Cyf. VI., 2s. Cyf. VII., 2s 10¼c, heb eu rhwymo. Hefyd, Cyfrol VIII., yr un bris. Elw o 1 rhifyn o bob 20 i'r Cangenau.

*Prophwyd y yubili*, Cyf. III., heb ei rwymo 2s;

Traethodau o waith Capt. Jones.

*Yr Eurgrawn Ysgrythyrol*, yn rhwym 3s;—3s 2c. Heb ei rwymo 2s 4c ;—2s 5c.

*Pwy yw Duw y Saint*, y cant 17s 6c;—19s 10c.

*Yr Hen Grefydd Newydd*, y cant £1 18s;—£2 6s.

*Annerchiad*, y cant 10s ;—11s 6c.

*Gwrthbrofion i'r Spaulding Story am Lyfr Mormon*, y cant 14s 2c ;—15s 10c.

*Anmhoblogrwydd Mormomiaeth*, y cant 6s ;—7s 6c.

*Arweinydd i Seion*, y cant 11s;—12s.

*Pa beth yw Mormoniaeth*, y cant 3s;—3s 9c.

*Pa beth yw Grâs Cadwedigol*, y cant 3s 6c ;—3s 11c.

*Gwahoddiadau*, y cant 1s 10c.

Traethodau o waith John Davis.

*Llyfr yr Eglwys*, yr un 11s.

*Yr Hyn sydd o Ran*. &c., y cant 6s;—7s.

*Epistol Cyffredin cyntaf*, y cant 6s 6c ;—7s 6c.

*Traethawd ar Wyrthinu*, y cant 6s;—7s.

*Traethodau ar Wyrthiau*. Rhif. 1—6, y cant 6s ;—7s.

*Pregethu i'r ysbrydion yn Nharchar*, y cant 5s 6c ;—6s 6c.

*Ewch a Dysgwch*, y cant 1s 8c;—1s 10c.

*Ymddyddanion*, y cant 2s 9c;—3s.

*Profwch bob peth*, y cant 2s 9c ;—3.

## "PRIODAS A MOESAU YN UTAH,"

Sydd newydd ddyfod allan o'r Wasg. Ei bris i'r Cynnadleddau yw 7s y cant; i'r Cangenau 8s y cant; ac i'r cyhoedd am 1c yr un. Na foddloned un Sant ffyddlawn i neb o'i gymmydogion fod yn anwybodus o gynnwysiad y traethawd hwn. Ymdreched pawb ei oreu i wasgaru hwn yn ol cynghor Duw. Gosodasom a ganlyn ar ei amlen:—

"Gyfeillion,—Na adewch i ddylanwad gau grefydd gynhyrfu eich nwydau i ddiystyru ein cenadwri atoch; canys gwirionedd diwrthbrawf yw y fod Duw wedi llefaru o'r nefoedd yr hyn sydd yn rhaid i chwi wneuthur er bod yn gadwedig. Pe y gwnelech bob peth arall a orchymyna pob enwad, ac esgeuluso y gorchymynion a ddadguddiodd Duw, ni fyddech gadwedig. Ni bu, ac nid oes bywyd tragywyddol yn addawedig ond yn UNIG trwy ufyddhau i BOB GAIR *A DDAW* O ENAU DUW, boed y gair hwnw a fyddo. Nid dwyfol y dichon fod crefydd y sawl a gyfnewidia un iot o orchymynion Iesu Grist pe eu poffesid, pe eu canmolid gan, na phe yr haerai holl ddoethineb ddynol y byd i'r gwrthwyneb; o ganlyniad er mwyn eich hachubiaeth dragywyddol na huder chwi i'w coelio. Hefyd, pe cyd-haerai pob pregethwr, awdwr a golygydd, na chredwch hwynt, canys ein gelynion ydynt—pregethwyr cyflogedig, y rhai sydd yn trin Gair Duw yn dwyllodrus, a rhag ofn i'w Gormhasnach i ballu, cyhoeddant bob celwyddau ar Saint y Goruchaf Dduw er mwyn eich cadw chwi mewn tywyllwch, ac i'ch rhwystro chwi i fyned i wrando ar, a deall athrawiaeth y Saint, ac i glywed gair Duw yn cael ei bregethu megys y mae yn yr Iesu. Mynwch eich traed yn rhyddion o lyfytheiriau traddodiadol y tadau, ac ewch i wrandaw ar Saint y Dyddiau Diweddaf y rhai sydd yn pregethu yn eich cymmydogaethau—ac agorwch eich drysau i weision Brenin y Gogoniant ddod i fewn i bregethu efengyl yr hedd, yr hon a ddwg dystiolaeth i chwi rwy Ysbryd Duw o'ch cymmeradwyaeth ger ei fron."

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 20.] MEDI 27, 1856. [CYF. IX.

## LLYTHYR Y LLYWYDD D. JONES.

*Gwersyll Israel,*
*Ger Dinas Iowa,*
*Gorphenaf 4ydd*, 1856.

FY anwyl Frawd Daniels,—Wele yr wyf etto yn fyw, er eich bod yn otni bellach, efallai, o herwydd fy hir ddystawrwydd, fy mod ar y *Plains*, neu yn y byd arall. Y gwir yw, yr oedd gofalon dros y 700 pobl a roddwyd dan fy ngofal wedi fy ngorlwytho mor drwm, nes, erbyn cyrhaedd yma, nid oedd digon o nerth ynwyf braidd i fyw yn hwy, ac nid am yn agos i dair wythnos y gwyddwn i na neb arall yn mha fyd y byddwn dranoeth. Erbyn hyn, drwy ddaioni fy Nuw, mae gobaith yr estyna'm heinioes wyddys pa hyd. Diolch iddo am hyny

Ysgrifenais atoch yn helaeth o Boston. Diolch i chwi am eich llythyrau cysurol oddiyno, a chefais un yma hefyd, yr hyn a brawf nad yw y cefnfor na'r cyfandir wedi lleihau y serch a'n cylymodd yn un cyhyd, ac yn annatt dadwy hyderaf.

Daethom o Boston hyd yma mewn wyth niwrnod ar hyd cledrffyrdd, ac am £2 6s. yr un, hanner pris i'r rhai oeddynt tan 14 oed, a chludo cant pwys heb dalu.

Ymddygodd y cyffredinolrwydd o bobl y wlad hon tuag attom yn ddynol, er fod rhai dynion anllad a drygionus yn ceisio hudo ymaith rai o'r chwiorydd yn mhob man lle caffent gyfle, ac mewn amryw drefydd, megys Buffalo, Toledo, Chicago, a Rock

Island, yn enwedig yr olaf, gorfu arnom wylied y cerbydau o tan arfau, nos Sadwrn, ac ymladd â thorfeydd o fythïaid tebyg i'r rhai oeddynt yn Sodom gynt drwy y dydd Sul ag arfau, pastwnau, picwyrch, a chleddyfau er eu cadw rhag rhuthro ar y chwiorydd, ac yn wir ymladdodd yr holl frodyr yn dda hyd fuddygoliaeth, ac er na chawsom lawer o *help* gan y Sirydd a'i fyddin, bu mor garedig a rhoddi y rhyddid i ni o amddiffyn ein hunain, ac nid cynt y cafwyd hyny nac y rhuthrodd y fyddin Formonaidd fach i ganol y llu, gan fedu eu ffordd o'u blaen mor llydan a'r heol, a *guessiwch* chwi pwy oedd ar y blaen o honynt. Drannoeth, profwyd o flaen y Maer fod y gwaedgwn hyn wedi tyngu ffyddlondeb i'w gilydd er helpu eu gilydd i ladrata y benywod glanaf o'n plith i wasanaethu eu pwrpas dieflig eu hunain, a diolch i rym arfau a dewrder cydfilwyr na lwyddasant ddim. Yn y dref flaenaf a enwais gorfu arnaf grynhoi ychydig ddetholwyr gyda mi ac ysgubo y *station* o'n blaen, drwy gennad y *Station Master*, o'r fileiniaid oeddynt yn rhuthro i blith ac yn *insultio* y chwiorydd pan yn newid cerbydau a'r nwyfau, a bwgwth torri gwddf y blaenaf a ddeuai i'w plith i'r perwyl. O mor ddiolchgar oeddwn i allu tirio y cwmni ar y tir cyssegredig hwn, yn mhlith Saint a brodyr lle y bydd-ent yn ddiogel. Teimlwn fel pe buasai fy ngwaith ar ben braidd, a'r ddiadell fach ddiniwed wedi ei gwared oddirhwng dannedd bleiddiaid, a'u dwyn i'r gorlan yn ddiogel oll bob un. Oddieithr y gofid hyna, daethom hyd yma yn gysurus, rhad a llwyddiannus, yn heddychol ddirwgnach, ac undeb a chariad yn cynnyddu yn ein plith. Mewn gair, ni allaf, roddi gormod o ganmoliaeth i'r brodyr anwyl, ac nid llawer o eithriadau fu yn mhlith y rhyw arall, a bu yr ychydig hwnw ymhron a chostio y bywydau goreu yn y gwersyll. Dim ond y felldith, trafferth a phoen sydd yn dilyn y diafol caru ar y ffordd i Seion, a hwn yw prif *hobby* y gwr drwg i ddyfetha yr ieuanc ac i boenydio eu llywyddion a'u cynghorant yn well. Ond digon am hyna, er ein bod ni yma yn gorfod gwylied y gwersyll a llu er cadw y cadnoaid o'n plith y nos, a chwi a chwarddech wrth weled ambell un yn y fagl. Diolch i'n Duw mae wynebau yr holl Lywyddion sydd yma (ac maent yma o bedwar cwr y byd braidd, yn awr ar eu ffordd adref,) wedi eu gosod fel y gallestr i amddiffyn a diogelu prif addurn y rhyw arall ar gost pob peth.

Mae tri chwmni wedi cychwyn gyda y llaw-geirt er's rhai wythnosau, ac un o honynt o Gymru, tua 300 o rif, er's tair wythnos yn ol. Cychwynasant mewn canol bonllefau o hosanah a gorfoledd. Hebryngais hwynt y dydd cyntaf, a'u hunig ofid oedd na buaswn yn cael myned gyda hwynt: o herwydd hyn llefai llawer; ond cynghorwyd fi i aros yma i gynnorthwyo y Llywydd Spenser, &c., i gychwyn y cwmnioedd o'n blaen Daeth yma dros ddwy fil o bobl o Loegr, ar fy ol i: mae dros fil wedi cychwyn tua'r gorllewin pell; tri chwmni o wyr traed, yn cynnwys tua 1500 o bobl, yn bwriadu cychwyn yr wythnos nesaf.

Etholwyd fi i arolygu gwersyll y waggenni a'r cerbydau, yn cynnwys yn agos i gant o weddeuau, neu i'w gychwyn o leiaf hyd oni ddeil y Llywydd Richards ni, a bwriadaf gychwyn yr wythnos hon. Mae yn eu plith o 150 i 200 o Gymry oll yn *first rate.* Etto mae gwyntyllau trymion y gorllewin yma wedi nithio rhai ûs dros y llawr dyrnu hwn, neu ambell wenithin at riniog y drws i guddio hyd y tymhor hau nesaf. Ni ddiarddelwyd neb hyd etto, ac ni bu ond un farw o'r 707, sef y chwaer James o Tredegar, a rhai babanod fel y nodais o'r blaen.

Mae ein hanwyl Lywydd Spenser yn profi ei hun yn ddyn well-well o hyd po fwyaf y llwyth a orphwysa arno, hyd nes yr ystyria pawb yma ef yn anmhrisiadwy.

Cedwir cyrddau yma bob Sul, a daw lluoedd o'r wlad a'r trefydd iddynt, a llawer o Gymry yn mhlith eraill ag ydynt yn byw gerllaw yma. Mae cyrddau yn fynych ar nosweithiau, a gweddi hwyr a boreu yn mhob pabell ar ganiad yr udgorn i'r perwyl. Mae yma undeb a chariad brawdol drwy'r oll yn hynod, nad pa iaith, llwyth na chenedl, ni welir nemawr wahaniaeth. Mae yr holl weddill braidd o'r Henuriaid Americanaidd a ddaethant yr un pryd a chwi a finau dros y *plains* yma yn awr ar eu ffordd adref o tan lawn hwyliau yn gewri concwerol; a phe buasech chwithau hefyd yma, buasai y *ranks* yn agos llawn.

Daw pobl gannoedd o filldiroedd yma yn unswydd ebynt hwy i weled drostynt eu hunain ai gwir y rhyfeddodau a glywsant am danom a'n gwersyll: gwelir yma loniad cerbydau o honynt bob dydd ac awr braidd, a'r oll yn synu at yr olygfa o'u blaen.

ac yn wir mae golwg hardd ar ein dinas wèn fawr ar gopa ac adau bryn teg a gwlad ddigoed, yn neillduol pan dywyna yr haul arni, dysglaeria yn ddarn debyg i'r ddinas hono a welodd Ioan o ben y mynydd hwnw gynt. Gosodir y pebyll mawr crynion yn heolydd cymmwys, a'u rhif uwch eu drysau; y pebyll ysgwâr mor union yn heolydd eraill, a'r pedrolfenni a'u hamdoadau canaid, cochion, duon, melynion, ac amryw-lywion yn fur crwn yn cwrdd a'u gilydd, a'u pebyll hwythau yn fur arall allanol i hyny. Cedwir pob peth i fewn ac allan, ac hyd y nod yr heolydd mor lan a phur a phe baech mewn parc boneddwr. Nid anfynych y gwlawia y nef ddagrau o lawenydd yn hidl uwch ein penau, hyd nes na bo edefyn sych braidd am neb, ynghanol yr hyn adleisia yn ol drwy'r awyr fonllefau o ganiadau Seion gan y chwiorydd yn fwyaf pan fo'r dŵr yn diferu o'u gwnau sidan a satin. Er fod yn y *pickle* hwn ugeiniau a fagwyd rhy dyner i sengu ar lawr braidd gartref, heb son am orwedd ar y ddaear yn ystafell wely fawr ein Tad heb orchudd amgen na'i gwrlid glas awyrawl Ef. Ni chant nac anwyd nac oerfel, ac nid yw yr oll ond difyrwch ganddynt; codant o'u gwelyau weithiau a gwlith y nef fel mwg arogl-darth yn derchafu yn byst o'u gwisgoedd, yn gofadail o'u haberth er mwyn efengyl yr Iesu, tra mawl i Dduw swnia o'u geneuau ac nid grwgnach.

Ymwelodd y Llywydd Snow â ni yn ddiweddar o St. Louis, wedi newydd ddychwelyd o'r Dyffryn.

Diau fod O. Pratt, Benson, a Phineas Young wedi cyrhaedd yna attoch chwi bellach; pan eu gwelwch, cofiwch fi attynt yn garedig iawn.

Mae pob newyddion o'r Dyffryn yn gysurol iawn, a thra mae heddwch yn ffynu yna, ni chlywir ffordd yma ond sŵn rhyfel, a lluoedd o'r Talaethau Dwyreiniol yn heidio i Kansas i gwrdd â lluoedd caethfasnachwyr y Deau ar y rhyfel-lawr sydd eisioes wedi ei ruddo â gwaed dynion, ie, *dynion* a fagwyd ar yr un bronau, ac a fwydwyd o'r un dyffrynoedd ydynt gledd ynghledd ar eu haelwydydd eu hunain, a'u tad heb allu deall pwy sydd ar fai, pwy sydd i'w helpu, ond rhuthro ei fyddinoedd i ladd y ddwyblaid fel y dewisent! Tra maent hwynthwy druain yn amrafaelio o barthed i'r pridd a leinw eu penau hwynt oll cyn hir, caiff y Saint lonydd drwy hyny i fyned

drwy eu plith adref yn ddiogel eleni etto! Mawr yw doethineb ein Duw a rhagofal ei fugeiliaid.

Cewch glywed oddiwrthyf etto o Council Bluffs. Hyd hyny, anwyl frawd, Ffarwel; yr Arglwydd a'ch bendithio chwi â phob cymmwysderau i lanw eich swydd bwysig i'w foddlonrwydd Ef, eich hunain, a'r holl Saint, ac a fendithio eich bendithwyr, a phawb o'ch cydweithwyr.

Hyn, gyda choflant caredig attoch chwi, y brodyr yn y Swyddfa, a'r holl Swyddogion a'r Saint yw taer ddymuniad

Eich anwyl frawd yn Nghrist,

D. Jones.

---

## GWAHANIAETH RHWNG Y BEDYDDWYR A SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF.

(*Allan o Hanes Joseph Smith.*)

Ceisiwn yn awr i ddangos y gwahaniaeth rhwng y Bedyddwyr a Saint y Dyddiau Cyntefig

1. Bedyddiodd Saint y Dyddiau Cyntefig er maddeuant pechodau, Actau ii. 38. Ni fedyddia y Bedyddwyr ond y cyfrai ag y tybir fod eu pechodau wedi eu maddeu iddynt cyn eu bedyddir.

2. Derbyniodd Saint y Dyddiau Cyntefig bawb yn ddiwahan i fedydd, a chymhellasant hwynt i fyned trwy yr ordinhad hono, gan addaw fod diwygiad ysbrydol mawr i ganlyn, Act. ii, 38—41. Eithr pe caffai y Bedyddwyr fod y crediniwr edifeiriol yn dysgwyl am faddeuant pechodau trwy yr ordinhad hono, cedwid ef yn ol hyd oni "chaffai grefydd" lle y gallai ei chael.

3. Ar ol bedydd, gweddiodd Saint y Dyddiau Cyntefig dros, a gosodasant ddwylaw ar y dyscyblion yn enw yr Iesu, a phroffesasant gyfranu iddynt yr Ysbryd Glân, Act. viii. 17, hefyd Act. xix. 6. Dywed y Bedyddwyr "eu bod yn ystyried y fath wagedd gyda'r un atgasrwydd ag y gwna pob Cristionogion ereill.

3 Gan feddu, fel y tybient hwy, ddoniau goruwch-naturiol yr Ysbryd, cymmerodd Saint y Dyddiau Cyntefig arnynt eu bod yn meddu y gallu i wneuthur rhyfeddodau, a phroffesasant wellhau y cleifion ag olew santaidd; Iago v. 14, 15. Hefyd y

fod gallu ganddynt i brophwydo; 1 Corinthiaid, o bennod 12 hyd y 14. Nid oes achos ychwanegu fod y Bedyddwyr yn mhell oddiwrth "y fath goegdybiadau," ac nad oes ganddynt ran ynddynt; nac mewn un dim a berthyna i ddoniau a gallu Duw: neu, yn ngeiriau yr Apostol ei hun, "meddant rith duwioldeb, gan wadu ei grym hi."

5. Gan fethu boddloni ar y Beibl megis dadguddiad trwyadl ychwanegodd Saint y Dyddiau Cyntefig gyfrol o amryw gannoedd o dudalenau (y Testament Newydd), at y llyfr hwnw, yr hwn (yn ol dull y Bedyddwyr o ymresymu) y gwaharddodd Moses hwynt i ychwanegu atto nac i dynu oddiwrtho; Deut. iv. 2. Eithr nid digon oedd hyd y nod hyn; eithr diwallwyd hwynt â dadguddiadau newyddion yn feunyddiol braidd, yn ffres fel y daethant allan, i bawb a'u llyngcent. "Mae yr atgasrwydd â'r hwn yr edrycha y Bedyddwyr ar y fath bethau, pan nad ystyriant hwynt ond arddangosiad galarus o ffolineb a drygioni dynol," yn eu gwahanu hyd bellder digyrhaedd oddiwrth Saint y Dyddiau Cyntefig; a pha fodd, gyda'r holl wahaniaethau hyn, y gallasai y Bedyddwyr gael eu hystyried ganddynt eu hunain, na chan neb arall, i fod yn Eglwys i Grist, sydd beth anhawdd i'w ddirnad!

6. Er dwyn yn mlaen eu dyeithr waith, neu drefn ar bethau, yr oedd gan Saint y Dyddiau Cyntefig ddwy Offeiriadaeth. Yr Offeiriadaeth Aaronaidd a weinyddodd mewn ordinhadau allanol, megis ag yn achos Ioan Fedyddiwr. Gallu ac awdurdod yr Offeiriadaeth uchaf, neu un Melchisedec, oedd i ddal allweddau holl fendithion ysbrydol yr Eglwys, fel y dywed yr Iesu, "Roddaf i ti allweddau teyrnas nefoedd—pa beth bynag a rwymi ar y ddaear a fydd rwymedig yn y nef," &c. Yr oeddynt i gael y fraint o ddeall dirgelion teyrnas nefoedd. "I chwi y rhoddir i wybod dirgelion y deyrnas"—i gael y nefoedd wedi eu hagoryd iddynt—i gyfeillachu â chymdeithas gyffredinol ac Eglwys y Cyntaf-anedig; ac i fwynhau cyfeillach a phresennoldeb Duw y Tad, a Iesu, Cyfryngwr y cyfammod newydd; Heb. xii. 22, 23, 24. Felly y maent, yn yr Offeiriadaeth rhyfeddol hon, wedi rhagluniaethu am ddiwalliad helaethlawn o bethau newyddion, mewn amrywiaeth diddarfod, ac yn ddiderfyn, oddiwrth y rhai a ystyrir ac a ystyriwyd yn sothol pob dim; y rhai, fel yr awgrymai y Bedyddwyr, a ym-

estynasant at fawredd," a ddywedent hwy, "sydd yn perthyn yn unig i'r Hwn ag ydyw yr unig Offeiriad yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec."

Yr ofn o droseddu ar amser ac amynedd fein darllenwyr, sydd yn ein hattal rhag ymhelaethu ar y rhai hyn, ac amrai byngciau ereill o wahaniaeth; ond digon yr hyn a ddywedwyd er dangos, nas gall unrhyw ddau enwad wahaniaethu mwy oddiwrth eu gilydd nag y mae y Bedyddwyr a Saint y Dyddiau Cyntefig; ac mai i gyd-gymmysgu y ddwy gyfundrefn unrhywfodd, sydd nid yn unig yn weithred anghyfiawn—eithr andwyai y Bedyddwyr, y rhai ydynt gyda llaw yn gorff anrhydeddus, yngwarth y sect hono ag yr oedd "dywedyd yn mhob man yn ei herbyn"

---

## CAU DRYSAU.

*(O'r Deseret News.)*

'Na edrychwch mor groes, Edward, pan eich galwaf yn ol i gau y drws; teimla eich mamgu oerwynt y gauaf; ac, heblaw, mae genych dreulio eich holl einioes yn cau drysau, a byddai gystal i chwi ddechreu yn awr.'

'Gwnewch faddeu i mi, mamgu! dylai cywilydd fod arnaf i'ch croesi chwi. Ond pa beth ydych chwi'n feddwl? Yr ydwyf i yn myned i'r athrofa, ac yna bwriadaf fyned yn gyfreithiwr.'

'Wel, a chym'ryd hyna oll yn ganiataol; dych'mygaf fod gan Ysw. Edward C——lawer o ddrysau i'w cau, os byth y gwna efe lawer o ddyn.'

'Pa fath ddrysau? D'wedwch wrthyf, mamgu.'

'Eisteddwch fynyd, ac enwaf rhestr o honynt.

'Yn y lle cyntaf, rhaid i ddrws eich clustiau gael ei gau yn erbyn iaith isel a chynghor drwg y llangciau a'r gwŷr ieuaingc a gyfarfyddwch yn yr ysgol a'r athrofa, neu bydd ar ben am danoch. Unwaith y meddiannent y drws hwnw, ni roddwn lawer am argoelion dyfodol Edward C——.

'Rhaid i ddrws eich llygaid, hefyd, gael ei gau yn erbyn llyfrau drwg, ffug-chwedlau diddefnydd, a newyddiaduron isel a drwg, neu fe esgeulusir eich myfyrdodau, a chwi a dyfwch i

fyny yn ddyn anwybodus a diddefnydd; bydd genych ei gau weithiau yn erbyn y pethau gwych a ddynoethir i'w gwerthu yn ffenestri y siopau, neu ni ddysgwch chwi byth i sefyll eich harian, nac i feddu dim yngweddill i'w cyfranu;

'Drws eich gwefusau a ofyna ofal neillduol, canys gwarchant aelod afreolaidd, yr hwn wna ddefnydd mawr o'r cwmp'ni drwg a ollyngir i mewn drwy ddrysau y llygaid a'r clustiau. Mae y drws hwnw yn dueddol iawn i chwythu yn agored; ac os heb ei wylied yn barhaus, gollynga eiriau traws, ysgafn neu salw allan. Ei gnoadau enllibus ydynt dostach ar rai prydiau nag eiddo gwynt y gauaf os ei adewir yn agored yn rhy hir. Cynghorwn chwi i'w gadw ynghau lawer o'r amser hyd oni fyddwch wedi trysori stôr o wybodaeth, neu o leiaf hyd oni fydd genych rywbeth werth ei ddweyd.

'Drws tufewnol eich calon sydd yn rhwym o gael ei gau yn erbyn temtasiwn, canys fe â cydwybod, gwyliedydd y drws yn ddiofal iawn os diystyrwch ei alwad; ac weithiau syrth i gysgu wrth ei waith, a phan y gallwch chwi fod yn meddwl eich bod yn gwneuthur yn eithaf da, yr ydych yn cyflymu lawr tua dystryw.

'Os yn ofalus y gwyliwch ddrysau allanol y llygaid, y clustiau a'r gwefusau, cadwch allan lawer o oer awelon pechod, y rhai dreiddiant i mewn ynghynt nag y meddyliwch.

'Bydd y cau drysau yma, Edward, yn orchwyl pwysig; yn gyfryw ag y dibyna eich llwyddiant yn y bywyd hwn a'r dyfodol arno.'

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MEDI 27, 1856.

DEGWM.—A ddylid esgusodi unrhyw Sant y Dyddiau Diweddaf rhag talu ei ddegwm? Gan fod y gofyniad hwn wedi cyfodi yn feddyliau rhai, er mwyn eu boddloni bwriadwn ei atteb mewn modd eglur a byr.

Mae cyfraith y degwm yn un dragywyddol, yn rhwymedig

ar nid yn unig y Saint, eithr ar bob mab a merch i Adda, mor belled ag y meddant wybodaeth o honi, nad beth fo eu sefyllfa neu eu hamgylchiadau, pa un a fyddant uchel neu isel, cyfoethog neu dlawd, Sant neu bechadur, Iuddew neu Genedl-ddyn. Y ddegfed ran o bob peth a gaffo dynion sydd yn eiddo i'r Arglwydd, ac a ddylai gael ei osod yn nwylaw ei weision, er cael ei ddefnyddio yn y modd y cyfarwydda Efe, er adeiladaeth ei deyrnas.

Teyrnged yw y degwm sydd ddyledus ar ddynion i'r Arglwydd am y defnydd o'r ddaear a greodd Efe er eu lleshad; a dylent ystyried y taliad o hono yn gydnabyddiaeth o fod yr oll a feddant yn perthyn iddo Ef, ac nad yw ond yn cael ei fenthyca iddynt er eu defnydd. Yn ol yr olwg hyn ar y peth, pa un bynag ai llawer neu ychydig a dderbyniont o'r elfenau a'u hamgylchynant, yr un fath bydd arnynt y ddegfed o hono i'r Arglwydd; a hyny hefyd, pa un bynag ai cyrhaedd wna i ddim ond ffyrling, neu i ddegau o filoedd o bunnau.

Gofynwyd ini, a ydyw yn ofynol i'r Saint hyny dalu eu degwm ag y mae eu hennill mor fychan, fel, os ei dalu wnant, y bydd ganddynt naill ai myned heb fara, neu rhedeg i ddyled mewn trefn i fyw? Meddyliwn fod yr uchod wedi ateb y gofyniad yn eglur, eithr ychwanegwn yn mhellach, nad yw yr Arglwydd, mewn dadguddiadau ar y pwngc, wedi esgusodi unrhyw ddosparth o'i bobl rhag y taliad o'r teyrnged hwn, ac os na wnaeth Efe, mae'n sicr nad oes hawl i hyny genym ni. Y mae yn fater sydd yn gorphwys yn union rhwng pob dyn a'i Dduw. Dyledswydd gweision yr Arglwydd yw dysgu y Saint yn nghyfraith y degwm, yr un fath ag mewn gorchymynion ereill ag eu gofynir i'w dysgu iddynt, yna gorphwys y cyfrifoldeb o'i chadw gyda hwynt, a gwobrwyir hwynt yn ol eu gweithredoedd.

Cyfyd y gofyniad yn awr, pa beth a wneir â'r tlodion ennill y rhai sydd mor lleied, fel os talant eu degwm y rhaid iddynt ddyoddef am fara? Bydded i'r rhai a feddant ychwaneg gyflawnder weinyddu i'w hanghenion ydyw ein hatteb. Dywed y Beibl wrthym "Y neb a roddo i'r tlawd, ni bydd anghen arno: ond y neb a guddio ei lygaid, a gaiff lawer o felldithion." ac mewn dadguddiad i Joseph Smith, dywed yr Arglwydd, "Gwae chwi gyfoethogion, a beidiwch gyfranu eich heiddo i'r tlodion.

canys eich cyfoeth a gancra eich heneidiau; a hyn fydd eich galarnad yn y dydd o ymweliad, o farn, ac o ddigofaint—Aeth y cynhauaf heibio, darfyddodd yr haf, a'm enaid nid yw yn gadwedig!"

Y mae yn ddyladwy ar y rhai sydd yn gweinyddu yn swyddau yr Offeiriadaeth i ddysgu y rhai a allant i gynnorthwyo yr anghenog a'r amddifaid eu dyledswydd yn hyn, ac i roddi cyfleustra iddynt i ddangos eu cariad at yr Arglwydd a'i deyrnas trwy weinyddu i'w dlodion Ef.

Mewn llefydd lle byddo y Saint mewn cyflwr llwm, neu lle nad yw yr hyn a gyfrenir gan y rhai mwy cyfoethog yn ddigon er diwallu anghenion yr anghenus, dylent gael eu cynnorthwyo allan o arian y degwm.

Gwelir fod mawr ofal a dealltwriaeth i wahaniaethu rhwng personau a'u gilydd yn angenrheidiol wrth ddefnyddio arian i'r perwyl yma, er attal y diog a'r anneilwng rhag caffael y lleshad o'r hyn a fwriadwyd yn unig i dlodion yr Arglwydd—y Sant diwyd a ffyddlawn. Ni ddylid cynnorthwyo ond y rhai sydd yn talu eu degwm, ac a geir yn gymmeradwy trwy eu gweithredoedd gerbron yr Arglwydd a'u brodyr; ac fe ddylid cymmeryd gofal mawr na wneir twyll gan bersonau a allant ymuno â'r Eglwys er mwyn cael bara.

Dyledswydd pob dynion a allant yw cynnorthwyo y tlodion; ac y mae yn neillduol yn nyledswydd y Saint i gynnorthwyo y rhai sydd o deulu'r ffydd, ac a lwythir i'r llawr gan dlodi a chystudd.

Dywedwn wrth y tlodion, os ydych am fwynhau tywalltiad helaeth o ddoniau a bendithion yr Ysbryd Glân—os ydych am brofi i'r Arglwydd eich bod hyd y nod mewn cystudd yn penderfynu ei wasanaethu Ef, ac am weled os tywallta Efe ei fendithion arnoch fel yr addawodd, ac os ydych chwi eich hunain am berthyn i'r tlodion a feddyliai yr Iesu pan y dywed, "Gwŷn eu byd y tlodion yn yr Ysbryd: canys eiddynt yw teyrnas nefoedd"—*talwch eich degwm.*

Dywedwn wrth y cyfoethogion—Os nad ydych am i'ch cyfoeth gancr-ysu eich heneidiau—os nad ydych am iddo droi yn felldith yn lle yn fendith, a'ch arwain i lawr i farwolaeth —os, pan ballo olud bydol, ydych am drysori peth yn y nef —talwch eich degwm, a gweinyddwch i anghenion yr anghenog.

A dywedwn wrth yr oll—Os byth dysgwyliwch fwynhau bendithion y ffyddlawn yn Seion—i fyned i mewn i Dŷ yr Arglwydd —i dderbyn allweddau a nerthoedd bywyd tragywyddol—i fod yn foddion i asio ynghyd linciau toredig eich cenedlaethau—i ddyfod yn Frenhinoedd ac yn Offeiriaid i'r Duw Goruchaf—i fod yn iachawdwyr ar Fynydd Seion, ac yn y diwedd i gael ettifeddiaeth ar y ddaear ar ol ei santeiddir, ei phurir, ac ei gwneir yn drigle i'r Tad—tâlwch eich degwm, a pharotowch eich calonau i gyflwyno pob peth a feddwch i'r Arglwydd pa bryd bynnag y geilw Efe am ei eiddo ei Hun, dros yr hwn y caniata i chwi yn bresennol i fod yn oruchwylwyr. Oddieithr i chwi wneuthur y pethau hyn, rhedwch eich gyrfa cyn hir yn y deyrnas hon; eich goleuni a amlenir â thywyllwch; seren datguddiad, yr hon a'ch harweiniai yn mlaen gyda nerth cynnyddol at ddysclaerdeb gogoniant tragywyddol a â ar goll yn hollol o'ch golwg.—Star.

---

## LLYTHYR AT Y LLYWYDD DANIELS.

*Abertawy, Medi* 21, 1856.

Ermyg Lywydd Daniels:—Yn unol a'm dyledswydd, dyma i chwi ychydig o'm hanes a'm helynt ymweliadawl â'r Canghenau, ynghyd â lleoedd ereill ag y bum yn dysgu ac yn pregethu gair y bywyd ynddynt.

Yn gyntaf oll, gallaf dystio i chwi na theimlais fy hunan yr oll ag ydwyf erioed yn fwy llwyr gyda gwaith mawr Duw nag yn bresennol. Teimlwyf fy mod yn derbyn mwy o nerth a gallu, o ddeall a goleuni Ysbryd Duw yn barhaus. Mae fy ngweddiau yn wastadol ar fy Nad nefol i agor llygaid fy neall, a'i wneud yn fywiog yn ei gyfraith Ef, ac i'm bendithio â doethineb a challineb i iawn gyfranu ei eiriau, ac i adwaen y pryd, y modd, a'r adeg briodawl i'w trosglwyddo a'u traethu er adeiladaeth y Saint, ac i fuan ymlanhau oddiwrth waed pawb oll ag y mae a fynwyf a hwynt trwy gylch fy llafur. Mae y pwysigrwydd o hyn ar fy meddwl bob amser. Teimlaf yn ddiolchgar i Dduw, trwy Iesu Grist, am y fraint oruchel o gael llafurio yn ei winllan.

Mae eich cynghorion chwi, yn nghyd a'r eiddo Evans ac

Ashby wedi, ac yn cael eu profi yn werthfawr ac anmhrisiadwy genyf, eu dwyn allan dan dywysiad Ysbryd Duw sydd wedi bod, yn fendith i mi fy hun, i'r Saint, ac i'r rhai oll sydd a thueddynddynt i adnabod y gwirionedd.

Mae y Saint yn yr amrywiol gangenau trwy y gwahanol Gynnadleddau, yr ymwelais a hwy, gyda'r eithriad o ryw nifer fechan, yn teimlo yn rhagorol dda a phenderfynol.

"Cyfraith y degwm" sydd yn dderbyniol ac yn cael ei gwneuthur gan y Saint yn gyffredinawl, Llawer o'r cyfryw ag ydynt wedi dechreu talu eu degwm gyda'r *hint* gyntaf a roddid iddynt ydynt yn ewyllysgar a pharod nid yn unig i dalu y *ddegfed*, ond hefyd i dalu y *bummed* er mwyn adeiladu teyrnas Dduw, ac i ennill iddynt eu hunain yr anrhydedd a'r bendithion hyny ag a wrthoda y sawl ag ydynt yn glaiar ac afrywiog i gyflawnu hyn.

Teimla yr ufyddion ewyllysgar, eu mynwesau yn chwyddo gan gariad, llawenydd a gorfoledd, gan dystio fod yr hyn oll sydd ganddynt, mal pe bae, yn wastad ar yr allor, ie, hyd y nod eu bywyd yn barod i'w aberthu pryd bynnag y gofyno yr Arglwydd am hyn ganddynt, tra mae y cyfrai ag nad ydynt yn brofedig yn ngwaith Duw, o duedd grwgnach, "Leb weled yn mhell," yn myned i fwyfwy o dywyllwch. . . .

Derbyn y gair yn ewyllysgar, sydd filiwn gwell, na gorfod ei gredu a'i dderbyn trwy lethiant afiechyd, gwasgfa, caethiwed yn y teimlad, dyryswch amgylchiadau, tylodi ac aflwyddiant &c. Rhoddwr llawen mae Duw yn garu a bendithio. . .

Mae digon o waith yn mhob man lle yr elwyf. Llywyddion y Cynnadleddau a'r Cangenau, yr Henuriaid &c. ydynt ddiwyd iawr hefyd. Pregethu allan ddwy a thair gwaith bob Sul, ac aml brydiau eraill—cannoedd yn dyfod i wrandaw, ie, miloedd weithiau—gwrandawiad rhagorol yn mhob man.

Ymddengys fod lluoedd ar gael eu bedyddio. Mae rhyw gyffro newydd yn mhlith y bobl, fel pe byddent mewn gwewyr parhaus—yn aflonydd eu teimladau—yn blygeiniawl cyn roddi ffordd i gwsg—yn ymholi yn ddystaw a gweision Iesu am y drefn i adfer dyn i bresennoldeb Duw.

Er na chefais braidd ddim o'm gwrthwynebu wrth bregethu allan, etto cyfarfyddais ag amrai yn llawn llid, dygasedd, cenfigen a gelyniaeth at y gwirionedd. Dynion llechwraidd yw y

rhai hyn; rhyw gnoi yn y dirgel a fynant, oddieithr ambell i un sydd yn ddigon lledffol ac ysgafn i redeg o flaen pwff ei ryfyg ei hun yn wynias gwyllt o dan effeithiau y *cacoethe scribendi* fel nas gallant fai na dangos eu penwendi ysgrifellawl yn y newyddiaduron &c. i geisio pardduo gogoniant trefniant gwaredigaeth a'gwaredigion Duw. Y dynion plentynaidd hyn bob amser yn eu hymosodiad ar y Saint ydynt yn diflanu fel "bwrlwm y dŵr" ac mal ewyn y dòn, yn ymgolli yn eu ffolineb eu hunain—yn orwag o allu i ddwyn i ben eu hamcanion drygionus er mwyn gwneuthur marsiandaeth â'r sawl a wrandawant arnynt.

Ha, ha, mae sectarfaeth yn y bendro fawr—y ddawn bregethwrawl wedi myned yn chwiblawg a diflas—dyddiau y bwystfil wedi eu llyncu yn fyw—ac adeg eu dymchweliad yn dynesu yn awr cwymp a syrthiad Babilon Fawr, mam putteiniaid a ffieidd-dra y ddaear. . . .

Ni chlywir braidd yn unlle yn bresennol ond cyfarth yn erbyn amlwreigiaeth y Mormoniaid. Mor gibddall raid fod sectariaid yr oes, mor anwybodus o'r drefn batriarchaidd a'i dyben, a'i bendithion cyssylltiedig! . . .

Diau y gesyd traethawd yr Apostol P. P. Pratt daw ar bob tafod, ac y goleua ac yr argyhoedda y diragfarn. Llwyddiant iddo ac i Formoniaeth i lanw y byd. . .

Yr eiddoch yn y Cyfammod Newydd,

DEWI ELFED JONES.

---

## TRALLOD SANT YN MHABILON.

O Dduw, O Dduw drag'wyddol Dad,
Pa bryd caf fyn'd i Seion fad:
O fewn i Fabilonaidd wlad
'Rwyf wedi blino'n byw.

*Byrdon—*

O Dad, gwareder fi o Babilon;
Blinais, O blinais
Fyw'n hwy yn hon.

O Dad, erfyniaf arnat ti
I gydymdeimlo â mi fi,
Ac i bwyso'm trallod i
Yngwlad y cystudd mawr.

Trallodion ar drallodion sydd
Yn blino'm ysbryd nos a dydd;
Beunydd 'rwyf yn rhodio'n brudd
Yngwlad y cystudd mawr.

Treisir a gorthrymir fi
Gan rai nad ydynt blant i ti;
Maent yn sychu'm hesgyrn i,
Gan faint fy nghystudd mawr.

Anwiredd sydd yn amlhau,
A chariad brawdol yn prinhau;
Trais a gorthrwm sy'n mwyhau
Yngwlad y cystudd mawr.

Cyfiawnder hoff a'i gartref cu
Yw gwrthddrych serch fy ysbryd i;
Am danynt beunydd mae fy ngri
Yngwlad y cystudd mawr.

O Dad dysgwyliais yn barhaus
Gael myn'd o Babilon drahaus:
Fy Nhad, na ddiystyra'm cais
Yngwlad y cystudd mawr.

Dy Saint sy'n myned tua thre'
O'r Dwyrain, Gogledd, ac o'r De;
Ond fi o hyd yn wael fy lle
Yngwlad y cystudd mawr.

Mae llongau yr ymfudawl lu
Yn myn'd o hyd a'm gadael i
Yn Babilon yn brudd fy nghri—
Yngwlad y cystudd mawr.

Mae gobaith oediog yn gwanau
Fy enaid beunydd, a'i dristau;
A minnau sydd yn llwfrhau
Yngwlad y cystudd mawr.

Dy Angel cu a'm galwodd i
O Babilon i'th Seion di,
Er hyny do'd nis gallaf i
O wlad y cystudd mawr.

*Byrdon—*

O Dad, gwareder fi o Babilon;
Blinais, O blinais
Fyw'n hwy yn hon.

*Fflint.* THOMAS CONWAY.

---

## HIRAETH AM SEION.

Tôn—*Aderyn Pur.*

Mor felys genyf lawer gwaith,
Fu canu maith acenion,
Yn min yr hwyr a chalon iach,
I geraint a chyfeillion;
Per gerddoriaeth a hynafiaeth,
Defion gwlad fy ngenedigaeth,
Hoff brydyddion, doeth lenorion,
Fu'm testunau gynt yn gysson,
"Gwlad well" yn awr yw'm testun clyd,
Ar hon mae bryd fy nghalon.

Gan dwrf anosteg meibion trais,
Mae'r LLEDNAIS yn galaru,
Dan draed gormesol blant y blys,
'N anfoddus wedi ei faeddu:
Traddodiadau,—erch erlidiau,
Sy'n gorlenwi gwlad fy nhadau,
Rhyfel creulon,—barnau trymion,—
Haint a nodau'n difa dynion;—
O! na chawn weled gwawr y dydd,
Cawn fod yn rhydd yn SEION.

'Rwyf yma'n byw mewn cyflwr caeth,—
Mae'r byd yn waethwaeth beunydd;
Mae llywodraethau'r ddaear hon,
Fel rhwysg y don aflonydd;

Ni bydd heddwch na dedwyddwch,
Mwy i'w gael, na diogelwch,
Byth i ddynion – ond yn Seion,
Lle mae Duw'n gwaredu'r ffyddlon,
  Yn hono mae goreuon byd,
A serch a bryd fy nghalon.

Mae Duw yn galw ei blant yn nghyd,
  I ryddid GWLAD YR HEDDWCH,
Y pur ei galon yno a ga,
  Orfoledd a dyddanwch,
Ar ol bod dan draed yn gwaedu,
Gwelir yno'r tlawd yn canu,
Dedwyddolion, ail nefolion,
Fydd yn holl ddinasoedd Seion—
  Hoff wlad,—hoff wlad goreuon byd,
Yn hon mae bryd fy nghalon.

*Abertawy, Rhag.* 22, 1854. DEWI ELFED.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg Medi 28; Brycheiniog. Hyd. 5; Mynwy, 12fed; Gor. Morganwg (yn Abertawy) 19eg; Llanelli, 26ain; Caerfyrddin, Tach. 2 Penfro, 9fed; Aberteifi, 16fed.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O AWST 27 HYD MEDI 26.—T. Rees, 15s; G. Roberts, 16s 8c; E, S. Morgans, £1 17s 10c; John Treharn, 16s.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS

// UDGORN SEION.

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 21.] HYDREF 11, 1856. [CYF. IX.

## CYSSEGRIAD.

(Allan o'r *Star*.)

EIDDO yr Arglwydd y ddaear, a'i chyflawnder; y byd, ac a breswylia ynddo.—Psalm xxiv, 1.

Egyr dwyfawl hanesyddiaeth gyda thraethiad yr ysgrifenydd ysbrydoledig:—"Yn y dechreuad y creodd Duw y nefoedd a'r ddaear." Hysbysir ni hefyd ddarfod iddo Ef ei gwneuthur i ddwyn ffrwyth a gwyrdd-lysieu o bob math. Anifeiliaid y maes a phreswylyddion y môr ydynt waith ei law Ef; ac yn ddiweddaf oll daeth allan ddyn, ar lun ei Greawdwr—"Ar ddelw Duw y crëodd Efe ef; yn wrryw ac yn fenyw y crëodd Efe hwynt."

Yn nerbyniad eu bywyd a'u bodoliaeth oddiwrth y Creawdwr, daeth dynolryw yn ddyledwyr iddo i'r graddau hyny. Eithr ni ddywedir swm dyled dyn iddo Ef gan ffigyrau creadigaeth ddechreuol. Er fod cariad, haelioni, a mawredigrwydd Duw hyd y nod yno yn ysgrifenedig mewn llythyrenau o'r cyfryw ddehongliad mawr nas gall y meddwl dynol ei gyrhaedd; ac er fod pwys dyled dyn iddo Ef yn nerbyniad rhoddion anmhrisiadwy bywyd, gyda'i holl ryfeddol wych gynneddfau o gyfansoddiad ysbrydol a thymorol, a llywodraeth ac arglwyddiaeth yr holl ddaear, yn ddigon i blygu y daearolyn balchaf i'r llwch, etto nid yw y greadigaeth ddechreuol ond yr *item* gyntaf o'r swm fawr. Ar bob cam a gymmerwn oddiyno yn mlaen, ymffurfia y swm yma ar lun mwy cynnyddol; ychwanegir

uwch gymmeintiolaethau atti, ac mae pob gweithred o eiddo Duw, mewn bendithio a chynnal y rhai a greodd, yn cadarnhau ei hawl arnynt, ac yn eu gwneuthur, pe dichonadwy, yn fwy hollol eiddo Ef

Nid yw yn unig ddyn yn amddibynol ar yr Hollalluog am ei enedigaeth, eithr anadliad gwanaf ei ffroenau, pob tarawiad o'i galon, a chynnaliaeth ei gorph, pa un ei geir oddiwrth ffrwyth, llysieuyn, ŷd, neu gig, mae yr oll yn dyfod o'r un law haelionus oddiwrth yr hon y cafodd efe fodoliaeth. Ganddo Ef y dechreuwyd trefn natur, a chanddo Ef ei pharheir. Symudir holl beirianwaith y byd gan ei Ysbryd Ef, a thrwyddo y dug y ddaear— y cynnyrcha yr holl anghenrheidiau a moethau sydd er cynnaliaeth bywyd a boddhâd y synwyrau. Ymfywioliaethwn ac ymsymmudwn yn ol ewyllys a threfn ddoeth yr Hwn sydd yn porthi y gigfran ac yn gofalu am aderyn y tô. Ond mae dynion yn eu hanniolchgarwch yn anghofio eu Duw, ac yn eu balchder yn edrych heibio i'w hamddibyniaeth. Cyfeiriant at eu dinasoedd, eu cledr-ffyrdd, eu trydaniaeth, eu llongau, eu hystor-dai, &c., gydag hunan foddlonrwydd: syllant ar eu bras feusydd o lafur fel y chwifia y twyseni llawnion yn yr awel hafaidd, tra yr olwg arnynt megys talpiau euraidd, a chydag anystyriol wagedd, ymffrostiant, "Y rhai hyn ydynt delfrydau cyssodedig ein hymenydd a gweithredoedd ein dwylaw, a'r cynheuaf addfed hwn yw ffrwyth ein llafur." Yn eu mawredigrwydd a'u hanymddibyniaeth ddychymmygol cuddir eu Creawdwr oddiwrth eu llygaid, tybiant mor ddyledus mae y bydyssawd iddynt hwy, ac mor afaeladwy eu hiawn i feddiannu y ddaear, ac i ddefnyddio y trysorau a guddir yn ei pherfeddion.

Dyn sydd o hyd yn dadgloi llifddor llygredigaeth, ac yn halogai y bur ffrwd sydd yn dylifo o ffynnonell daioni. Oddiwrth gau gyfundraethau crefyddol a gwladwriaethol, ac oddiwrth ddarganfyddiadau celfyddydol, wedi eu troi at ddybenion drwg, y daeth byd o ofid a gwae. Dywed Duw, "Bydded goleuni," a llanwyd y ddaear ag adlewyrchiad ei ogoniant Ef ei hun; eithr dyn sydd wedi tŷnu tywyll lén drosti, a phan y croesa belydr o ddysclaerdeb gwreiddiol ei lwybr caddugol, i wneuthur bywyd yn barhâol, deillia y belydr hono oddiwrth y Bod hwnw a agorodd y boreu cynfydol. Yr hwn a roddes ein bodolaeth i ni sydd hefyd yn rhoddi nerth a brasder i'r tir, ac yn achosi i lys-

ieuaeth flaguro, ac i'r haul i'w haddfedu. Efe sydd yn llewyrchu ein llwybr fel y cyflawnom ein llafur beunyddiol, ac yn ein tueddu i ddadgloi trysor-fwnau y ddaear. Efe a guddiodd y cyfryw drysorau yno, ac a gymmysgodd yr elfenau a ffurfiant sylfaen fferylliaeth. Efe hefyd a ysgrifenodd mewn eangder y nodau hyny a ddiwallant ymborth i fyfyrdod yr astronomydd, a ffurfiodd ddifyniaeth dyn, a gyfluniodd gorph anianyddol y byd. Ei hardd gyssodiad o natur, ei fferylliaeth, ei saerniaeth, a'i allofyddiaeth sydd o hyd yn rhoddi awgrymiadau ini, gan ein denu â'u cuddiedigrwydd, ac yn swyno y galon â dadguddiad o'u dirgeledigaethau rhyfeddol. Pe Duw a'i Ysbryd a ymadawent â'r greadigaeth, gyda dirfawr drwst ymruthrai etto i *chaos* gan ymddryllio yn ddarnau bob peth corfforedig. Mor wirioneddol gan hyny ddywediad y Salmydd—"Eiddo yr Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder: y byd, ac a breswylia ynddo."

Ni feddyliwn am foment y gwrthwynebai unrhyw broffeswr crefydd, mewn geiriau pendant, ein golygiadau ar y mater hwn, nac y gwadent gywirdeb geiriau ysbrydoledig Dafydd. Credwn y cydsyniai holl wledydd cred â honiadau Duw o'r hyn y mae wedi ei greu ac o hyd yn ei gynnal. Yn wir, pe ei ddygid adref yn galed arnynt, ammeuwn pa un a fyddai llawer o unrhyw ddosparth o ddynion mor galed ag i hollol wadu yr hawliau hyn, ynghyd a chadernid ein sefyllfa.

Ond ni chyrhaeddai y cyfryw gydnabyddiaeth i 'chwaneg na geiriau. Nid yw erioed wedi meddwl ond ychydig pan yn cael ei wneuthur gan yr annuwiol ac nid oes neb yn talu nemawr sylw pan ei ddywedir gan y byd Cristionogol presennol. Y ffaith am danynt, gwasanaetha y cenhedloedd Dduw â'u tafodau, ac anrhydeddant Ef â'u gwefusau; ond eu calonau ydynt bell oddiwrtho. Eu geiriau ydynt eiddo credinwyr, ond eu hymddygiadau ydynt eiddo Atheistiaid. Oesa dynion fel pe na fyddai Duw; maent wedi ei lwyr anghofio, ac yn aml, mewn cred ac ymarferiad, teilynga y cyfryw a elwir yn Atheist yr enw Theist yn fwy na'r rhai a broffesant ei wasanaethu Ef.

"Eiddo yr Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder: y byd, ac a breswylia ynddo." Ond pa le mae y genedl Gristianogawl ag y dyry ei chymdeithas a'i sefydliadau gorfforiad cywir a gafaeladwy i'r gwirionedd hwn? Tuallan i Eglwys Iesu Grist

o Saint y Dyddiau Diweddaf, b'le mae pobl yn hollol a'u bywydau wedi ymroddi i ogoniant Duw, a eu hamser, eu talentau, eu hegni, eu golud, eu personau, a'u teuluoedd—oll wedi eu cyssegru er gogoniant ei enw Ef, ac er arwain i mewn y milflwyddiant mawr—teyrnasiad cyffredinol Crist ar y ddaear. Yn wir, pa le mae y genedl ag y saif ei hanesyddiaeth fynedol, ei bodolaeth, ei chyfundraethau, a'i chrefyddau presennol megys cofadail—tystiolaeth fyw nad yw eu cymmeradwyaeth o'r athrawiaeth a ddysgodd Dafydd ond yn hanner-galonog, ffugiol, a rhagrithiol? Nid yr un o honynt a feiddia ddweyd ei bod wedi ymgyssegru yn weithredol er gogoniant Duw, neu ag sydd hyd y nod wedi dechreu teithio yn y cyfryw gyfeiriad.

Nid amheuwn nad oes ychydig bersonau yn mhlith pob sect y rhai ydynt â'u holl galon yn eu proffes o'r gwirionedd hwn; a'r rhai, hyd eithaf eu gwybodaeth a'u gallu, ydynt yn ddiau yn byw er anrhydedd i'w Crëwr, ac er lles yr hil ddynol. Ond anaml yw y cyfrai, anaml yn wir. Gwir fod digon o rhithiau duwioldeb ac erthyglau ffydd, digon o gapel-gyrchu, adeiladu eglwysi a phregethu, gweddio a chwyn-leisio. Eithr pa faint hyn oll? Pwy ddywed yn gydwybodol fod y fath ddiddymdra yn gydnabyddiaeth deg a chyflawniad o ddyledion dyn i'w Wneuthurwr: hyny yw mor belled ag y gallwn dalu dyled o gariad a bendith annherfynol sydd fythol gynnyddol? Pwy a ddywed mai dyna yw cyflawniad o'r ddyledswydd sydd ar yr hîl ddynol i'w Tad Nefol, eu Gwaredydd, a'u Hiachawdwr?

Yn lle fod eglwysi Cristionogaeth sectarol yn cael eu cyssegru gyda'u holl feddiannau cyfoeth, a dylanwad, er gogoniant Duw, ac er iachawdwriaeth a lleshad dynolryw, mae gan y bobl gyssegru myrddiynau o'u harian yn flynyddol i'w cynnal hwy; ac y mae rhai a geisient brofi fod y rhai hyn wedi rhoddi cyfwerth leshad i ddynolryw neu wasanaeth i Dduw am y cynnysgaethiadau bydawl lliosog a dderbyniasant. Meddyliwch y tueddai pob ysgogiad o eiddo yr Eglwysi hyn a gweithrediadau swyddawl eu gweinidogion yn uniongyrchol at ddaioni, er hyny, hyd y nod wrth reol gyffredin trafodaeth fasnachol, aeth eu hoced yn dalfethol fil o weithiau. Ni chaffai y cyflogedig ddynion mwyaf cybyddlyd yn y byd y gydwybod braidd i dderbyn y fath ddirfawr gyflogau am y fath ychydig ac annefnyddiol waith ag y mae gweision yr Eglwysi hyn wedi ei

wneuthur i'w hudoledig weithosodwyr, sef y bobl. Yn wir, a'u barnu megys y barnem ariandy, masnachdy mawr, neu gymdeithas ddigolledawl a chwmpeini elw-geisiol rheilffordd, caffai y rheoleiddiadau bastardaidd Gristianogawl hyn, drwy gydundeb cyffredinawl, eu cyhoeddi megys dygn dwyllwyr; a chaffai esgobiou, offeiriaid, a gweinidogion ymneillduawl gymmeryd eu llefydd megys yspeilwyr gyda'r mawrion hud-ladron bancyddol hyny o ddiweddar hynodrwydd cyffredinol. Wrth fyned ddim pellach 'nol na gwawriad Protestaniaeth yn Lloegr, cawn fod ei chyfenwedig gymdeithasau crefyddawl lawer gwaith wedi dyfa holl gynnyrch a chyfoeth y wlad freiniawl hon—y genedl hon o farsiandwyr a chyfoeth diderfyn braidd. Ac i ba ddyben yr aeth y myrddiynau a sugnodd y dyhirod hyn allan o galon y wlad hon? Onid i gyfoethogi offeiriadaeth wrthgiledig, i wau magl eu crefft, ac i addurno dirgelwch Babilon â gwisgoedd godidawgrwydd, ac â swynawl ddillad puttain; nid i ardderchogi y gyssegrfa i bresennoldeb yr Arglwydd, eithr i dynu y genedl dros y ffordd, ac i'w mheddwi â gwin godineb y buttain fawr.

Ffaith anwrthwynebol yw fod gwareidd dra, dadhuddiaeth, dysgeidiaeth, a phob ysgogiad sy'n tueddu at ddyrchafu dynolryw, ac felly, nid yn uniongyrchol at ogoniant Duw, yn lle deilliaw oddiwrth yr un o eglwysi gwrthgil Gristionogaeth, na'r un o'i changenau ymranedig, wedi tarddu o blith aelodau lleyg cymdeithas. Gwir yw fod rhan o hyn yn ddyledus i ardystiad diwygwyr crefyddol, megys Luther, Wesley, ac eraill, yn erbyn llygredigaethau cynnyddol yr Eglwysi sefydledig, ond mae y daioni a ddeilla o'r ffynnonell yma o natur amheuol ac nid yn sicrhaol—yn ddeilliedig oddiwrth ddynoethiad llygredigaethau a thoriad cadwynau offeiriadol-grefft, ac nid trwy y dygiad i mewn o unrhyw wareiddiawl gyfundraeth neu o grefydd ddilwgr. Yn wir, oddiar y gwrthgiliad oddiwrth y Gristionogaeth gyntefig fel y daeth yn ei phurdeb drwy ddysgeidiaeth ei mheistr mawr, gyda nerth yr Ysbryd Glân, mae dynol ddadenyddiaeth bob amser wedi dyfod mewn gwrthdarawiad i'r holl eglwysi sefydledig ac ymneillduedig a adeiladodd dynion yn nghyfamser yr hirnos o dywyllwch ysbrydol, ac y mae wedi cael ei ffyrnig wrthwynebu yn ol ganddynt hwythau a'u gweinidogion. Os daeth rhyw ddaioni o'r ffyn-

onell hon, daeth trwy fod dynion yn ymddwyn oddiar eu dynoliaeth, eu cariad at wirionedd a gwyddor, ac yn nghymmeriad diwygwyr. Eithr pa bryd bynnag y mae hyd y nod yr eglwysi hyn wedi sefyll mewn agwedd rheoleiddiadau neu ddehonglwyr o dduwinyddiaeth, cymmerasant arnynt genadiaeth na pherthynai iddynt; canys ar y goreu nid ydynt ond yr arddangosiadau o ystadau diaflnedig. Mor wir yw hyn fel y mae y dosranau hyny a ardystiasant yn erbyn y rhiant, o herwydd ei ffieidd-dra a'i gelyniaeth i Dduw a dyn, yn eu tro wedi cael ardystiolaeth yn eu herbyn gan eu heppil hwythau am yr unrhyw achos. Felly ymddengys, fel y sylwyd o'r blaen, fod y daioni sydd wedi deilliaw o'r ffynonell hyna o natur amheuol—y torriad o gref gadwynau a'r rhoddiad o gyfundraethau mwy cydweddol â dadenhuddiadau ysbrydol dyn na'r rhai yr ardystid i'w herbyn. Bu llawer o ddynion trwyadl a chywir-galon yn ymwneyd â'r gorchwylion hyn o fynu diwygiad cyfattebol i'r amser hwnw, ac felly y buodd hyd y nod ormeswyr a dynion drwg. Tueddai y naill ddosparth i wanhau offeiriadol-grefft drwy eu rhinweddau, a'r llall trwy eu gormesau a'u nwydau drwg a gynnorthwyasant i dorri lawr hen rwystrau, ac felly agorwyd ffordd i ddiwygiad ychwanegol a rhyddid mwy. Nid dan un ystyriaeth amgen y gellir cyfaddef fod sectarol-Gristianogaeth wedi tueddi at naill ai leshad dynolryw neu ogoniant Duw, ac nid yw proffeswyr crefydd ychwaith, megys cyrph rheoleiddiedig wedi cael eu cyssegru i'r cyfryw ddybenion. Diau fod personau wedi gwasanaethu Duw yn ol eithaf eu gwybodaeth a'u cyfleusterau, a chyda llawn fwriad calon wedi ymroddi eu bywydau er llesoli eu cydymeithion; ond mae proffesiadau neu honiadau neb o'r sectau o fod wedi gwneuthur felly yn rhagrithiol, ac yn wir maent yn watwariaeth i Dduw a dyn.

Nid oes yr un ysgogiad gwirioneddol ac uniongyrchol er dyrchafiad dynolryw erioed wedi dyfod o eglwysi gwrthgiliedig. Yr oedd y daioni o'r ffynonell hono o gymmeriad amheuol, ac yn dyfod mewn dull anuniongyrchol. Bu y diwygiadau a a ddygwyddasant o bryd i bryd yn y byd crefyddol yn gyffelyb i'r mesurau hyny a gymmer cymdeithas i gospi troseddwyr yn hytrach nag er addysg ei haelodau annedfrydol. Nid yw'y rhai a eilw y byd yn ddiwygwyr ond wedi bod yn rhagbarotowyr i'r

gwareidd dra hwnw sydd yn tueddu yn uniongyrchol at ogoniant Duw a lles dynolryw.

Mae'n eglur na dderbyniodd cymdeithas nemawr leshad oddiwrth hunanwerth yr un o'r cyfundraethau a'r eglwysi a elwir—er yn hollol annheilwng—yn Gristianogawl. Ai iddynt hwy mae y cenedloedd yn ddyledus am eu celfyddyd, eu masnach, eu gwybodaeth, eu goleuni a'u mhawrder? Nage, fe ŵyr pob un o ddeall cyffredin taw ynddynt hwy mae yr anianydd, y diwygiwr, a'r dyn anturiol ac ymchwilgar wedi cyfarfod â gelynion marwol—cyffelyb a gafodd Crist a'i Apostolion yn y Phariseaid gynt. Eithaf cysson hyn, canys bydd gau-grefydd ac offeiriadawl-grefft bob amser yn wrthwynebol i wirionedd a dadenhuddiad, nid oes wahaniaeth pa un a ddeuant yn ymgorfforedig yn Efengyl yr Iachawdwriaeth, mewn iachus ddysg, marsiandaeth, allofyddiaeth, anturiaeth, neu wybodaeth. Nid y sectau na'u gweinidogion sydd yn cymmeryd y blaen i anrhegu dynolryw â'r gwir fendithion. Nid hwynthwy sydd yn pontio y môr mawr â llongau, yn estyn cemmaes y byd adnabyddus, ac yn cydrwyo y cenedloedd ynghyd mewn rhywbeth fel teulu cyffredin, ac felly yn anuniongyrchol yn gweithio allan ac yn darparu y ffordd i symmud cymmysgedd Babel.

Nid hwynthwy sydd yn cylchynu y ddaear â rheilffyrdd, yn gyru gwythienau o wyfrau trydanawl trwy foroedd a chyfandiroedd, yn adeiladu gweith-dai, nac yn cynllunio peirianwaith, y rhai feallai a ddefnyddia Duw wrth symmud y felldith—"Wrth chwŷs ei dalcen y bydd byw dyn." Nid iddynt hwy mae y cenedloedd yn ddyledus am eu gogoniant, eu dysg, eu hymwelliadau, neu unrhyw sefydliadau haelionus a feddant. Hyn oll sydd ddyledus i lywodraeth fydawl ac anturiaeth bersonawl.

Gwir fod aml broffeswyr crefydd yn ymwneyd â'r ymwelliadau hyn, ond wedyn y mae yn eu cymmeriad lleyg. Fe'i gwnant megys masnachwyr, pleidwyr egwyddor, celfyddydwyr a gwladwriaethwyr; ac, fel y sylwyd o'r blaen, pan y llafuriont yn y dulliau hyn, cant mai eu cyfundraethau crefyddawl a'u Hoffeiriaid hwy eu hunain yn aml ydynt eu gelynion. Heblaw hyn, mae mwy o ddyled ar gymdeithas am ei hegwyddor, ei hanturiaeth, ei chyfoeth, a'i mhawrder, i'r hyn a elwir y byd nag i neb o aelodau neu offeiriaid eglwysi sectarol; ac

mae yn ffaith anwadadwy fod egwyddor, diwygiad, anturiaeth o bob math, a phob ymgeisiadau gwlad-lesawl. yn cael y mwyrif o'n dysgyblion a'u didwyll gyfeillion yn mhlith atheistiaid, a'r amrywiol wahanol raddau o feddylwyr gwahan-farn. Gwybyddir hyn fwy neu lai yn gyffredinol; ond ceisia y rhai mwyaf duwiolfrydig a phenwan berswadio eu hunain fod crefydd yn rhy ysbrydol i ymgymmysgu â neu i gynnyrchu daioni bydol; ac ymddangosai eu bod yn dychymygu mai cyssylltiadau efengylawl, cymdeithasau beiblaidd a thraethodawl, cyrddau dosparth, gweddi, a phregethu, neulltuol deimladau, golygiadau, a dulliau o ymadrodd ydynt eithafion bywyd Cristianogol, a swm a sylwedd yr Efengyl. Adgoffhâ yr ystyriaethau hyn ni i'r Prophwyd Joseph mewn gweledigaeth ganfod fod gogoniant y lleuad yn nhrenf yr iachawdwriaeth yn neillduedig i rai anrhydeddus y ddaear, tra y darparwyd yr iselaf yn nghyrhaeddiadau dyrchafiad ar gyfer crefyddwyr sectarol.

Mae bodolaeth bydawl lywodraeth ac anturiaeth bersonawl ei hun yn brawf nad yw y bobl, er fod cymdeithas yn talu eu Hoffeiriaid yn dda, ac yn proffesu llawer o grefydd, mewn gwirionedd yn teimlo fod eu credöau a'u gweinidogion yn dangos llawer er gogoniant Duw na dyrchafiad dynolryw, canys tra y talant ac y cynnaliant y rhai hyn, cymmerant ddaionu gweithredol dynoliaeth i'w dwylaw eu hun. Nid yw yr eglwysi sectarol yma hyd y nod i fyny at safon y byd i werthfawrogi y gwirionedd mawr—"Eiddo yr Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder; y byd, ac a breswylia ynddo;" canys tra y tuedda lafurweithiau yr olaf yn anuniongyrchol at ogoniant Duw a lleshad dyn, nid yw y blaenaf megis eglwysi ac offeiriaid yn, ac ni charai llawer weled y ddaear a'i thrigolion yr hyn a fyddent pe y rhai hyn fyddent wedi dal arglwyddiaeth ddiranedig.

*(I'w barhau.)*

---

## ENGLYN I'R MORMON.

Y Mormon gysson geisia,—o nawdd Duw,
Yn nydd dig a lwydda;
Terfyn ar bob gelyn ga,
Uwch du ing 'n iach dianga.

*Gynt o Feirion.* JOHN DAVIES.

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

DYDD SADWRN, HYDREF 11, 1856.

## PA FODD I RHYBUDDIO Y GENEDL FRYDEINIG MEWN UN FLWYDDYN.

(O Olygyddiaeth y "Star.")

At Fugeiliaid a Llywyddion Cynnadleddau, a Changenau Eglwys y Saint drwy Brydain Fawr.

Anwyl Frodyr—gan deimlo dymuniad awyddus am weled gwaith mawr ein Duw yn myned rhag ei flaen yn y gwledydd hyn gyda nerth a chyflymdra mawr, cynnygiwn i chwi, ar ol dwys ystyriaeth, idd eich hystyriaeth a'ch mabwysiad, *gynllun* yr hwn y gwyddom yn dda y bydd yn un o'r cynnorthwyadau nertholaf a galluocaf a ellir ei fabwysiadu gan y Saint, yn nghysswllt â'r weinidogaeth, i bregethu yr Efengyl yn ffyddlawn a buan i'r oll o'r genedl hon.

A ganlyn yw y cynllun a gynnygiwn—

Yn nghyntaf; Hysbyser, o leiaf, BUM MYRDDIWN o drigolion Prydain Fawr trwy law-lènau, yn ystod blwyddyn, o'r manau lle, a'r amseroedd pan y cynnelir cyfarfodydd Saint y Dyddiau Diweddaf. Yn y modd helaeth yma o hysbysu, diau y gorlenwir eich dau-fil ga peli neu eich llefydd o addoliad cyhoeddus yn barhaus.

Yn ail; Diwaller, o leiaf, BUM MYRDDIWN o'r bobl, yn ystod pob blwyddyn, â chyfres argraffedig o gyhoeddiadau dyddoraf Saint y Dyddiau Diweddaf, yn cynnwys eu prisoedd, ac hysbysiad y gellir eu cael yn mhob un o'ch cyfarfodydd cyhoeddus, ac mewn llefydd ereill a ewyllysioch nodi.

Yn drydedd; Caffed pob un, o leiaf, o BUM MYRDDIWN o'r bobl, yn ystod pob deuddeg mis, fenthyg un neu ychwaneg o'r traethodau a argraffwyd i'w cylchredu; caffed pob un gadw a fenthycio am wythnos neu yn hwy, neu ei brynu os myn,

Frodyr, wedi y darllenoch y tri chynnyg hyn, dichon y bydd wch barod i waeddi yn fyrbwyll, "Mae y cynllun yn wir yn un da i ledaenu yr Efengyl, ond yn anhawdd iawn, os nad yn annichonadwy, i'w ddwyn i weithrediad." Gellwch ofyn, "Pa fodd y byddai ddichonadwy i'r Saint argraffu Pum Myrddiwn yr un o law-lénau, cyfresau, a thraethodau?" Attebwn ei fod yn hollol ddianghenrhaid i argraffu cynnifer. Tybiwch mai pum mil ar hugain yw nifer y Saint yn Ynys Prydain; diwaller pob un o'r rhai hyn â dau draethawd er eu cylchredu yn wythnosol neu yn ol y cyfartalwch hyny. A dau draethawd i bob Sant, diwellid hanner can mil o breswylfeydd yn wythnosol. Gallwn gyfrif yn ddibetrus y byddai, ar gyfartalwch i ddau ddynsawd yn mhob trigfan ddarllen, neu glywed darllen, gynnwysiad y cyfryw draethawd; ac ar glawr yr hwn y gallent hefyd ddarllen hysbysiadau o lefydd ac amseroedd ein cyfarfodydd, a cyfres o rai o'n gweithiau argraffedig. Felly yr hysbysid can mil yn wythnosol; ac mewn deng wythnos a deugain ffafrid deg cant a deugain o gannoedd o filoedd neu bum myrddiwn â'n hathrawiaethau, ynghyd a'r gyfres a'r llaw-lènau ar y ddau-glawr. Ac fe ellid dwyn y cylchrediad eirfawr hyn o wir egwyddorion ac hysbysiadau pwysig oddiamgylch mewn un flynedd, ddim ond trwy fod pob Sant yn cael DAU draethawd, a'u cylchredu yn wythnosol,

Yn awr pe caffai pob Sant, nid yn unig *ddau* draethawd. ond dau o bob rhifyn o'r gyfrestr a ddetholir er cylchredu, dyblid nifer y trigolion a rhybuddid am bob rhifyn ychwanegol o'r gyfrestr; er enghraifft, pe byddai ynddi bump, llesolid pum myrddiwn, nifer gydrif a holl boblogaeth Prydain Fawr, mewn un flwyddyn.

Yn awr anfonwn i bob Cynnadledd, i blith y Saint Prydeinig dwbl y nifer o bob un o'r traethodau, detholedig i'w cylchredu ag sydd o aelodau yn mhob Cynnadledd. Er enghraifft, os bydd mil o aelodau Mewn Cynnadledd, anfonwn ddwy fil o bob traethawd iddynt.

Rhagysgrifenwn y cynllun yn awr i bob Cynnadledd dalu am y traethodau hyn. Yr ydych oll yn ddigon hysbys o'r cynllun a ddygodd y brawd F. D. Richards i'ch plith er gochelyd aml gasgliadau a darfod a hwynt, a chael yr aml amryw-fathau o an gostau a threuliadau y Cynnadleddau allan o'r un drysorfa

gyffredinol a godir trwy ddegymau wythnosol y tlodion. Cynllun yr Arglwydd yw hwn; a thrwyddo, yr ydych wedi ei gael yn rhwyddach i dalu rentau eich Capeli, cynnorthwyo y tlodion, cynnal eich gweinidogaeth deithiol, talu eich rhoddion Teml, ac ugeiniau o bethau ereill rhy luosog i'w nodi. Yn mhlith yr amrywiol dreuliadau ereill a dynir o'r drysorfa gyffredinol hon, yn awr cynnwyswn *yr item* am draethodau, yr hon sydd yn un o'r pwysicaf yn mhlith yr holl rhai ereill, pan ei holreinir yn ei ddeilliau pell gyrhaeddiadol.

I gyflawni dybenion o'r fath bwysigrwydd gorddwyol, a brysio rhybyddiawl genadwri yr Efengyl yn mhlith y genedl Frytanaidd, cynghorwn holl Lywyddion gwahanol Gangenau yr Eglwys drwy hyn, i gadw bob wythnos o'r drysorfa ddegymol, yn ol UN FFYRLING am bob aelod a berthyna i'r cyfryw Gangenau, i wneuthur *Trysorfa Draethodawl*; trosglwydder y drysorfa hon yn fisol neu chwarterol gan Lywydd pob Cangen neu Gynnadledd i Brif Ddosparthwr y Gynnadledd, a gyred yntε yr unrhyw yn ddioed i'r Swyddfa hon. Bydd pob Cynnadledd yn gyfrifol am y drysorfa hon, a anfonir trwy y Prif Ddosparthwr Llyfrau, yr un fath ag am gyhoeddiadau ereill.

Ar y traethodau hyn, a anfonir i'w cylchredu, nis gall na phrif nac îs ddosparthwyr gael unrhyw elw, y maent yn gael ar gyhoeddiadau ereill. Ond y mae gwahanol Lywyddion Cangenau i'w derbyn yn ol prisoedd Llerpwll, yn eiddo i'r Cangenau. Dylid talu costau y Prif Ddosparthwyr, neu Lywyddion y cangenau am gludiad, amlèrau, &c., allan o Drysorfa Gyffredinawl Degwm y Cynnadleddau neu'r Cangenau, yr un fath a'r mân gostau ereill.

Dylai pob Llywydd Cynnadledd fynu gweled fod yr holl draethodau y bwriedir eu cylchredu yn mhob Cangen yn cael eu clorio yn gryno â chloriau lliw, ar dudalen gyntaf y rhai y dylid argraffu y *Teitl*, ac hefyd y *ddwy* linell o argraff a rhedant i fyny ac i waered i gefn pob traethawd yn y Gyfres Newydd. Ar y tu cefn argraffer yr Amserau a'r Manau y cynnelir y Cyfarfodydd yn y Gangen, yn agos i'r manau lle eu cylchredir; hefyd ofyniad i'r Darllenydd eu cadw yn lân, a dywediad y gelwir am danynt os na phrynir hwynt. Tufewn i'r cloriau argraffer cyfres o rai o'n cyhoeddiadau dyddoraf, yn nghyd a'r prisiau, a'r manau lle gellir eu cael, Dylai y cloriau hyn

fod tua'r un math ag eiddo y "Perl o Fawr Bris." Cymmerer y costau at hyn hefyd allan o'r Drysorfa Gyffredinawl.

Edryched yr Awdurdodau llywyddawl fod yr holl draethodau hyn yn cael eu cadw mewn symmudiad parhaus bob wythnos, *a bod pob dyn, benyw, a phlentyn* yn yr Eglwys a fedr gerdded at ddrws ei gymmydog yn gwneuthur a allo i ledaenu y gwirionedd. Geill rhai wneuthur llawer mwy nag ereill; am hyny rhaner y traethodau yn ystyriol, yn ol sydd ganddynt o amser ac amgylchiadau i'w gyflawni; a chaffed pob un wybod ei ddosparth i gylchredu, fel nad ymyraetho ag eiddo ei frawd neu ei chwaer; ac na fydded neb yn wan-galonog neu ofnus; canys y dewrion yn unig a ant i mewn i'r deyrnas nefol.

Byddwn yn debyg o ail argraffu amryw o'r hen gyfres o draethodau, gyda pheth cyfnewidiadau, y rhai ddosrenir yn bennodau ac a dudalenir, er cyduno â'r newydd. Ac fe ffurfia y cwbl, pan yn orphenedig, gyfres gyda mynegai, cymmwysedig i rhwymo. Dichon y bydd yr holl nifer yn y gyfres o ddeuddeg i ugain.

Cynnygiwn ddiwallu y traethodau hyn mewn niferoedd fel y nodir uchod, mor gynted ag y gellir eu hargraffu. ac aros am ein tâl yn ol Ffyrling yr wythnos oddiwrth bob un fel y nodwyd o'r blaen, oddieithr y geill y Cynnadleddau, heb afrwyddined dalu yn nghynt.

Dilys yr achosa ganlyniadau yr ymegnïad cyffredinol hwn ar ran y Saint i gannoedd o filoedd i ymchwilio i Waith y Dyddiau Diweddaf, a arosent oni bai hyny mewn hollol anwybodaeth.

Dichon y dygir ugeiniau o filoedd i'r Eglwys yn y dull yma, yr ymgasglant i Seion, ac y cynnorthwyant â'u mheddiannau i gasglu y tlodion a gyru Teyrnas y Dyddiau Diweddaf rhag ei blaen. Mae'n fwy na thebyg y byddai y trysorfeydd a ad-delid felly ddeg, ugain, neu ddeng waith a deugain gymmaint a'r un treuliad yn unig o Ffyrling yr wythnos. Dywedwn, ynte, wrth yr holl awdurdodau llywyddawl, swyddwyr, ac aelodau, Yn mlaen a chwi yn y gwaith da hwn, ac fe wel yr Arglwydd eich Duw eich hymdrechiadau, ac a'ch bendithia yn helaeth; a thrwy eich diwydrwydd Efe a dòr ei waith yn fỳr mewn cyfiawnder, fel y rhagddywedodd y Prophwydi. Gosododd ein Duw y gallu ynom, i wneuthur llawer o ddaioni, neu ychydig,

neu guddio ein talent yn y ddaear a gwneuthur dim. Pan y gweithiom drosto Ef, yntau a weithia gyda ni. Gyrwch yn mlaen; ynte, y degymau wythnosol; bydd y trysorfeydd gwargred yn foddion i gasglu miloedd yn flynnyddol.

Dywedwn wrth y Cymry—Cyfleithwch y gyfres newydd o draethodau, a chyhoeddwch o bob un nifer, cydrif a dwbl y nifer o Saint Cymreig na fedrant Seisneg. Dywedwn wrth y Scandinafiaid—Gwnewch yr un modd. Gosoded yr holl *Saint* eu hysgwyddau wrth yr Olwyn Mawr, a bydd ini, yn *nerth Duw Israel*, i droi Cenedloedd Cristianogaeth tu fyny i waered, ac ysgydwn allan y cyfiawnion o'u plith,

ORSON PRATT, *Llywydd.*

---

YMFUDIAD.—Mae'n anghenrheidiol i'r holl Saint a fwriadant ymfudo i Utah yn 1857, ddarparu i hwylio allan o Lerpwll, o leiaf, erbyn y 25ain o Fawrth. fel ag i dirio yn y Talaethau erbyn y 1af o'Fai

---

DYLED LLYFRAU.—Gan fod gofyniadau mawrion yn ddyledus ar y Swyddfa hon i'r Eglwys, a bod eisieu eu talu ar ddiwedd y flwyddyn, dymunem i'r ymdrech mwyaf a ellir gael ei wneuthur, Frodyr Llywyddol, er cael eich Cynnadleddau yn rhydd â ni erbyn hyny, fel ein galluoger i wneuthur yr unrhyw ag Eglwys Dduw.

Dywenydd genym ddeall fod rhai wedi gweled yr anghenrheidrwydd o hyn, a dechreu ar y gorchwyl. Hyderwn mai digon yr *hint* yma hefyd i bob Llywydd ag sydd bob amser yn barod i gyflawni a ofyna Duw, fel y profo ei addasrwydd i'r cylch pwysig ac anrhydeddus a leinw.

Ymddygasom mor ysgafn ag oedd modd tuag at y Cynnadleddau beichiedig o amser diwedd yr ymfudiad hyd yn awr, fel y caffent chwareuteg i ymryddhau a chryfhau, ac i gael y degwm i'w rym, hyd yr amser diweddar hwn pan mae y chwarter olaf o'r flwyddyn wedi dechreu.

---

CYNLLUN Y LLYWYDD PRATT sydd yn dweyd ac yn dangos gystal drosto ei hun, fel mai afreidiol ein sylwadau ychwanegol, rhagor nag hysbysu yn mhellach i'r Llywydd Pratt, mewn

llythyr diweddar attom, gynghori y Saint Cymreig i beidio a gadael un math o'u traethodau Cymreig i orwedd yn segur; eithr y cedwir hwynt mewn cyffrawd ar gylch yn wythnosol gyda'i gyfres newydd yntau sydd i gael eu cyfieithu i'r Cymraeg yn fuan.

Gweler fod gan ein Llywyddiaeth olwg ffyddiog am argyhoeddiad a throedigaeth miloedd trwy yr ymdrech cyffredinol a wneir.

Ystyrir fod anfoniad dau draethawd gogyfer â, a thaliad o Ffyrling yr un yn wythnosol oddiwrth, bob aelod yn resymol i'r Gynnadledd fwyaf beichus ei gael a'i wneuthur, ac mae ryddid i'r neb a fyno i wneuthur a fyno.

Nid ofnwn ar na fydd y Saint Cymreig yn flaenaf yn y frwydr ac yn gyfranogwyr o'r yspail. Yn gatrodau arfogedig â phob amrywiaethau a mathau o'u traethodau, ac yn ffyddiog yn eu Duw y gweler hwynt yn ymruthro ar deyrnas Satan ac yn rhyddhau ei garcharorion o gadwynau tywyllwch.

Frodyr Llywyddol, mynwch gael catrawd draethodawl yn MHOB CANGEN, ac edrychwch na fyddo yr un traethawd yn segur. Mynwch gynnifer math a fedrwch gael.

Mae amryw fathau o draethodau campus yr hyglod frawd Davis yn y Swyddfa etto: pwy a'u mŷn? Hefyd gasgl o weithiau awdurol y brawd D. Jones, yn rhwym, 6s 4c yr un. Yr "Eurgrawn" ac "Hanes yr Eglwys" yn gynnwysedig. Ychydig sydd genym—llai nag un i bob Llywydd.

---

## CAN HIRAETHUS.

Tôn—"*Aderyn Du.*"

O! clywch fy nalar gân!
Dan faich yn Babel dir,
Am fod yn Seion lân
Wyf er ys amser hir.
Ac O! mor gaeth wyf fi
Mewn cyflwr gwael a thrist;
O eisieu dyfod attoch chwi
I Deml Iesu Grist.!

Pa bryd daw'r oriau maith
I ben i'm dwyn yn rhwydd,
O! na bawn ar fy nhaith
Yn do'd mawr fyddai'm llwydd!
O frodyr clywch fy nghwyn!
A gwelwch pa mor gaeth
Yr wyf, a dewch ar fýr i'm dwyn
I Fynydd Seion faith!

Pe cawn i hyn o rodd
O frodyr byddai'n fraint!
Mi fyddwn wrth fy modd
Yn Seion gyda,r Saint!
Yr ydwyf yn parhau
Yn ffyddlon, ond 'rwy'n flin,
A bron rhy gaeth i ddwyn yr iau
Mor wael 'rwy'n cael fy rhin!

Am ddo'd i'r wlad sydd well
Yr wyf a'm gruddiau'n llaith!
Mae'r oed yn myn'd yn mhell,
A'r babell bridd yn waeth!
Y cwbl sy'n llesghau,
A'r amgylchiadau'n is;
A'r anadl hefyd sy'n byrhau,
Nes methu lawer mis!

O na symudid fi
Yn llwyr o'r lle yr wyf!
Yn wir diolchwn i
Bawb honoch chwi tra bwyf!
Och! och! pa bryd y daw
Yr amser hir i ben
I'm dwyn i Fynydd Seion draw?
O! doed ar fyr! Amen.

*Llanelli.* *(Gynt o Penydaren.)* D. A. HUGHES.

[Da fydd genym gael, unrhyw amser, gan ein hysgrifenwyr awenyddawl, o flasus ffrwyth eu mheddyliau gwrteithiedig i'w osod ar fwrdd yr UDGORN; ond, er hyny, carem gael amrywiaeth—rhywbeth gyda Hiraeth am Seion, &c,—GOL.]

## AMRYWIAETHAU, &c.

Dywed llythyr oddiwrth y br. J. Jones. o Brymbo, dyddiedig Hyd. 1, ddygwydd o ddamwain erchyll yno, y dydd blaenorol, yn mhwll y Pendwll, trwy dorriad dwfr i mewn o hen waith, Llanwodd yr holl waith, a 34 llathed i fyny i'r pwll, mewn un awr. Diangodd y mwyrif o'r gweithwyr, druain, trwy hen bwll awyr, o'r hwn eu codwyd â rhâff, Yr oedd 13 i mewn yn ddiobaith am danynt yn y byd hwn. Buont yn sugnedu dwfr trwy'r nos, etto ni welid llaesiad ynddo. Yr oedd cannoedd o bobl yno ddydd a nos. Nid oes achos dweyd mor dor-calonus oedd yr olygfa!

☞ Anfoner i ni, yn ddioed a diffael, enwau a manylion y rhai sydd wedi ymfudo mewn gwahanol ffyrdd, heblaw trwy y Swyddfa hon, *wedi* diwedd gorchwyliaeth y br. Jones, a phob amser o hyn allan, yn nghyd ag hysbysu yn nghylch y rhai a beidiant ymfudo ar ol anfon eu henwau yma, fel y cadwer ein llyfrau yn gywir.

Cyfeiriadau.—Mr. John Jones, 4, Water Street, Abergele, Denbighshire.

Mr. David Davies, Mr. C. Harman, Cil Heol, near Town Hall, Llanelly, Carmarthenshire.

Derbyniadau am Lyfrau o Medi 27 hyd Hydref 9.—T. Stephens, £5 15s 6c; J. Thomas, 12s; T. Rees, £1 10s; T. Jones, 14s; J. Davis, £2 15s; G. Roberts, 11s; T. S., etto, £2 13s 11c W. Ajax, 15s.




ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 22.] HYDREF 25, 1856. [CYF. IX.

## CYSSEGRIAD.

(*Parhâd o tud.* 328.)

Y MAE mewn dyn ysbryd—ysbrydoliaeth yr Hollalluog. Efe a blanodd yn yr enaid awydd am ragoriaeth—ysgogiad anwrthwynebol i gynnyddiant. Tuedda y meddwl i arholi natur am ei dirgeledigaethau ac i addurno ac ardderchogi y ddaear. Yn eu dadenhuddiad geilw y bobl yn awdurdodol ar eu llywodraethwyr am ddiwygiad, a chipiant eu rhyddid o ddwylaw gormeswyr, a Duw yn ei anfeidrol ddoethineb a'i ddaioni ddyry i bob peth gyfeiriad er ei ogoniant Ef ei hun, ac er dyrchafiad plant dynion. Er hyn oll mor anaml ydyw y rhai ag ydynt o'u gwir-fodd yn ymgyssegredig er anrhydedd eu Gwneuthurwr, eu Ceidwad, a'u Prynwr. Mor anaml ydyw y rhai a gyflawnant eu gweithredoedd yn enw yr Arglwydd, ac a gydnabyddant yn weithredol y mawr ddyled sydd arnynt iddo Ef.

Saif y masnachydd yn unig fel masnachydd, gweithreda y celfyddydwr yn ei enw ei hun neu ei gelf, dadguddia y dyn egwyddorol ei wybodaeth megys egwyddorol ddyn, ac nid fel gwas i Dduw; gweinydda y deddfwr wrth lais y bobl, neu wrth ddisgyniad ettifeddiaethol; deil frenhinoedd deyrn-wialenau a osodwyd yn eu dwylaw trwy ymosodiad a goruchafiaeth, ac eisteddant ar orseddau a sefydlwyd mewn gwaed a dagrau; ettifedda y rhai mawreddog gyfoeth a thiroedd oddiwrth dadau rhyfelgar, a'u hennillasant drwy gleddyf a thrais. Nid oes a weithreda yn enw yr Arglwydd, neu ag sydd yn byw yn hollol

ymgyssegredig i'w ogoniant Ef, yn mhlith holl deyrnasoedd y byd, oddieithr yn yr un hono a sefydlodd Efe ei Hun yn y dyddiau diweddaf hyn, ac nid yw hyd y nod ei deiliaid ond yn dechreu teithio yn y cyfryw gyfeiriad. Pa le mae y genedl sydd a'i thiroedd, ei dinasoedd, ei rheilffyrdd, ei llongau, ei chyfoeth, a'i chelfyddyd oll yn osodedig ar allor cyssegriad? Deil y mawrion diroedd a meddiannau trwy gymmeradwyaeth a doniad awdurdod ddynol, a meddianna frenhinoedd a gwŷr mawreddog ettifeddiaethau o waed, ond pa le mae y rhai hyny a ddaliant hawl ddangosegau oddiwrth Frenin y Bydyssawd?

Oesa dynion fel pe creawdwyr eu hunain fyddent, neu fel pe baent wedi prynu oddiar yr Hollalluog "y ddaear a'i chyflawnder." Nid yw dynolryw yn cyssegru eu hunain i'w Gwneuthurwr a'u Ceidwad; nid oes ychwaith a broffesant taw felly y mae. Y gwir yw, mae cymdeithas yn weithredol atheistiol; llywodraethwyr a deiliaid, offeiriaid a phobl, Oesa dynion i'w hunain ac nid i ogoniant Duw.

Frodyr—Saint y Dyddiau Diweddaf, rhaid i ni gyssegru ein hunain—ein bywydau, ein hegnïoedd, ein cyfoeth, eiu talentau ein gwragedd, ein teuluoedd a'r oll ag ydym neu a feddwn i'r Hwn a'n prynodd dair gwaith—trwy greadigaeth, trwy gadwedigaeth, a thrwy waed ei Unig Anedig. Na thwylled neb chwi, ac na thwyllwch eich hunain yn hyn; mae cyssegriad yn rheol teyrnas nefol. Mae angen ar yr hwn nad ydyw barod i gadw y gyfraith hon, a'i enaid heb ei ëangu gan Ysbryd yr Hollalluog, angen i ddyfal geisio doethineb a gallu oddiwrth yr Ysbryd Glân er ei allnogi i fod yn gyfattebol i'r yrfa a osodwyd o'i flaen, ac yn deilwng o'r ettifeddiaeth a'r dyrchafiad sydd ddarparedig i feibion a merched Duw. Oddieithr iddo wneuthur hyn, heb ofni a chrynu rhag y meddwl ei fod yn gosod ei hun gyda'i oll ar yr allor yn offrwm i Dad yr Ysbrydoedd, gwell fyddai iddo droi o'r nailldu, a bod yn ymgeisydd am ogoniant îs, rhag, wrth syllu ar yr uchder am yr hwn yr amcana y cyfiawn, iddo benfeddwi a syrthio i ddyfnder lawer iselach na'r lle o'r hwn y cychwynodd. Mae y codiad i ddyrchafedigrwydd Brenhinoedd ac Offeiriaid y Goruchaf yn binacl rhy uchel i rai o'r fath i'w gyrhaedd,

"Eiddo yr Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder; y byd, ac a breswylia ynddo," ac Efe a fŷn i'w Saint ei gydnabod yn weith-

redol. *Wrth gyssegru eu hunain yn hollol ac anrhaniadol iddo Ef yw yr unig ffordd y gallant ddyfod yn ettifeddion i Dduw, a chyd-ettifeddion a Christ.*

---

## HYNT YR YMFUDIAD.

(Allan o'r *Council Bluffs Bugle.*

Dichon nad annyddorol fyddai i rai o'ch darllenwyr ddeall rhywbeth o symmudiadau yr ymfudiad i Ddyffryn y Llyn Halen y tymhor hwn. (Awst diweddaf.) Ychydig ddyddiau yn ol, yn nghyfeillach Colonel Babbitt, Ysgrifenydd Utah, ac amrai ddinasyddion o'r lle hwn, ymwelasom a Florence, N. T., ac yno yn ymwersyllu cawsom tua 500 o'r "ffyddloniaid," oll mewn eithaf iechyd a chalondid, yn bwriadu cychwyn mewn diwrnod neu ddau ar eu hir-daith. (Cychwynasat Dydd Llun, y 18fed.) Oddiwrth Cadben Willey, a'r Cadbeniaid cynnorthwyol McGaw a Savage, deallasom i'r osgordd fod ddim ond tua wythnos yn dyfod o Ddinas Iowa, a bod yr oll yn iachus, llon a boddhaol.

Wedi gweled amryw law-geirt osgorddion yn myned trwy y ddinas hon, ac yn croesi y trosglwyddfäau yn Elk Horn a Loup Fork, ni allasem lai na sylwi ar y brwdfrydedd a gynhyrfai bob gradd ac oed. Ymddangosai fod yr osgordd yma yn fwy diwalledig o bethau gwersyll, a darpariaeth o luniaeth, &c. na'r rhai a'i rhagflaenodd.

Gwelasom y cigydd yn estyn cig eidion rhagorol i'r dorf, ac hysbyswyd ni mai y dogn i bob un y dydd oedd hanner pwys o gig, pwys o flawd. a'r dognau arferol o driagl, siwgr, &c., &c. Mae gan amrai, modd bynnag, hunan ddiwalliadau, ac felly byddant byw yn gysurus iawn.

Ymddangosai i rai fod y bobl hyn yn dyoddef caledi mawr wrth deithio cannoedd o filldiroedd ar draed, yn llusgo ceirt o'u hol. Camsynied yw hyn, canys fe ddywed amrai, nad oedd eisieu, ar ol y tri diwrnod cyntaf o'r daith, nemawr ymdrech i ddau neu dri o ddynion neu fenywod lusgo y llaw-gart ysgafn gyda'i lwyth priodol o bethau i drin bwyd a'i daclau.

Y mae, hefyd, yn ffaith, y gallant deithio yn mhellach mewn diwrnod, a chyda llai blinder na gweddeuau ychain.

Mae y cwmnioedd hyn yn gynnwysedig o Swediaid, Daniaid

Ellmyniaid, Cymry, Ysgotiaid, a Saeson, ac mae y prawf goreu o'u cywirdeb yn y ffaith o'u bod yn foddlon sefyll taith sydd mor faith.

Yn nghyntaf, ymegniasant yn galed dros y cannoedd o filldiroedd a wahanasant eu bryniau genedigol oddiwrth y porthladd Ewropaidd o'r hwn yr oeddynt i ymfudo—yna gwelwch hwynt ar longau gorlwythog yn gwrthsefyll peryglon yr ëang Fôr Werydd—wedi hyny, teithiant yn amyneddgar fil o filltiroedd ar hyd y tir i Ddinas Iowa, oddiyno i gychwyn ar draed ar daith dros fryn a bro, diffaethwch a mynydd, bedwar cant ar ddeg o filltiroedd, i gyrhaedd yr "Hoff Ddyffryn."

Y mae hyn yn frwdfrydedd—dyma beth yw arwriaeth yn wir. Er nas gallwn gyd-weled a hwynt yn eu barn, nis gallwn lai na chanmol eu hymroddiad hunan-ymwadol i egwyddorion eu ffydd.

Eithr anghofiasom Florence, nid wedi ei harfaethu, "fel ei hardd gynddelwawl Ddinas Duscanaidd, i gael ei haddoli yn gyffredinol fel y mwyaf dymunol o'r prif ddinasoedd Ewropaidd, yn llawenhau yn ei gwych balasau, ei thanlliw-luniau, a'i mynegiadawl ddelwedyddiaeth.—eithr i'w hadwaen yn ein dydd-weithiol fyd hwn, fel un o'r trefydd penaf yn Nhiriogaeth Nebraska.

Tri mis yn ol nid oedd ond pump adeilad, y mae yn awr tua deugain, ac mor gyflym ag y ceir gweithwyr a nwyfau, parhant i adeiladu. Cyn y gauaf, mae yn debyg y bydd 150 o dai wedi cael eu hadeiladu.

Gwna yr agerdd felinau-llifo eu goreu i ddiwallu coed, ond yn ddiog iawn yr ymsymmuda y felin ddwfr ar Mill Creek o eisieu "brâs gawodydd." Gosodir agerdd-felin arall i fyny yr hydref hwn. Y mae dwy odyn briddfein yn agos wrth law, odyn galch, a chwarel o adeil-feini rhagorol. I James C Mitchell, Ysw., yr hwn sydd wedi llafurio am yn agos ddwy flynedd i wneuthur Florence yn dref, mewn ffaith yn ogystal ag mewn enw, mae y gydnabyddiaeth o fwyaf o'i gwelliant a'i thyfiant i'w roddi. Yn ddiffuant dymunwn ei rhwydd-deb a'i llwyddiant.

O. Y.—Oddiar pan ysgrifenwyd yr uchod, sylwn ar y cyrhaeddiadau canlynol i'r ddinas hon, ar eu ffordd i'r Llyn Halen:

Ar Ddydd Llun, y 18fed o'r mis hwn, 56 o law-geirt a 5 o

weddeuau ychain; ar yr 20fed, 30 o weddeuau ychain; ac ar yr 21ain, 60 o law-geirt ac amryw weddeuau.

Mae tua 400 wedi gadael Florence eisioes; cynnwysai y gosgorddion uchod tua 800 o bersonau, a dysgwylir cryn nifer etto *via* St. Louis.

---

## GOHEBIAETH CARTREFOL.

### CYNNADLEDDAU Y GOGLEDD.

*Brymbo, Hydref* 14, 1856.

Anwyl Frawd Daniels.—Cefais eich llythyr dydd Sadwrn diweddaf. Oddiar pan ysgrifenais atoch o'r blaen, o Llanrwst, bum yn nghwmpeini y brawd Ajax trwy Bethesda, Bangor, ac hyd Amlwch, yn Sir Fôn, ac yn pregethu yno i dorf luosog.

Mae Sir Fôn, fel y gwyddoch, yn cynnwys degau o filoedd o drigolion. Ddim ond pedwar o Saint sydd yn mhlith yr holl nifer yma, mor belled ag y gwyddom ni. Bedyddiasom un pan ar ein taith yno.

Frawd, mae fy nghalon ar waedu wrth feddwl fod cynnifer yn Sir Fôn yn gorwedd mewn tywyllwch, ac am nad oes genym ddim i wneuthur drostynt, eithr eu gadael felly; canys y mae yn anmhosibl i ni fod yno ac mewn manau eraill lle y mae Saint.

Yr ydwyf wedi bod yn gweddio ar i'r Arglwydd agor rhyw ffordd; a rhoddi ei Ysbryd i dueddu calonau cynnifer a deuddeg o'r Deau i ddyfod i Sir Fôn, a Chaernarfon.

Wedi i ni bregethu yn Amlwch i amryw bleidiau Crefyddol clywais rhai yn tystio na feddyliasant erioed fod egwyddorion y Saint mor ysgrythyrol. Yr Arglwydd a anfono weithwyr luoedd i gynheuaf mawr y Gogledd, *amen* ac AMEN.

Yr oeddwn yn Abergele, nos Sadwrn, pan y llawenhawyd fy nghalon yn fawr wrth ddarllen llythyr oddiwrthych chwi a'r br. Israel Evans.

Dydd Sul, aethym i'r Wyddgrug, a daethym hyd yma ddoe. Pregethais yma neithiwr. Gwelwch nad ydwyf yn segur; eithr ar gerdded bob dydd a llawer nos hefyd, ac yn hyfforddi y Llywyddion, oreu a allaf, yn mhob peth.

Gwelais y Star a gynnwysai y cynllun i draethodu y Sul

wythnos i'r diweddaf, ac mi a'i darllenais ac a'i dysgais yn Nghynghor "Cynnadledd Ajax." *All right* frawd; mae fy nghalon yn llawenhau yn y cynllun. Wele ni yn parotoi at y gorchwyl.

Yr ydwyf yn cael y Llywyddion a'r Saint o'r un ysbryd a mi. Mae y Saint, gyda ni, yn lyfr werthwyr yn barod, a chyn diwedd y mis hwn bydd yr holl draethodau a anfonasoch, wedi cael eu gwerthu, a chewch eich talu am danynt.

Mae rhai am gael ychwaneg o'r traethawd newydd, ond gan fod cynnifer o hen draethodau ar law, a rhai newyddion yn dyfod etto, credwn mai gwell ymdrechu gyda hwynt.

Mae yma ffyddlondeb; mae Saint y Gogledd a'u holl galon ar gyflawni gwaith yr Arglwydd mewn traethodu yn ogystal a phob dull arall. Penderfynwn wneuthur ein goreu i gyflawni yr holl gynghorion sydd yn dyfod allan trwy yr UDGORN i'r llythyren, gan gredu mae dyma'r unig ffordd i ni ddysgwyl llwyddiant ar waith yr Arglwydd.

Yn y Cynghorion Cyffredinol sydd yn cael eu cynnal yn fisol, bwriadwn grynhoi yr holl arian llyfrau i mewn o'r gwahanol Gangenau, fel nad orweddont yn segur.

Byddai yn dda iawn genym weled y Brawd Israel Evans i fyny yma etto. Pan ofyna y Saint "pa bryd mae y Llywydd Daniels yn dyfod i fyny yma?" fy atteb ydyw, "O, rhywbryd o hyn i ddiwedd y Mil Blynnyddoedd."

Yr eiddoch gyda'r gwaith,

JOHN JONES.

---

## DAMMEG Y MEDELWYR SIOMEDIG

DIGWYDDODD yn ddiweddar i gwmpeini o ddynion fyned ar daith i rhyw ran o'r Dywysogaeth i ymofyn gwaith medi.

Yr oedd pob un o honynt a'i gryman yn ei law yn rhwymedig â rhâff wellt er mwyn diogelu yr awch.

Teithiasant yn galed iawn am lawer o ddyddiau hyd nes y daethant i wlad lle yr oedd llawer o amaethwyr. (*Farmers.*)

Oddiamgylch i'r eang faesydd addfed cerddodd y fyddin arfog yma yn awyddus am ymosodiad ar y penau melynion a safent yn syth o'u blaen, ond pan yr ymblygent gyda'r awel mal pe yn cyfarch eu hymelwyr dyeithr a amnelent mor fygythiol attynt

O'r diwedd canfyddasant foneddwr, dybiasant hwy, yn sefyll yn mhwlch y clawdd. Cymmerasant hwy ef yn lle perchen y maes; ond rhodreswr coegfalch—*intermedler* ydoedd, yn byw ar ei dwyll. Gofynodd y medelwyr iddo yn ostyngedig iawn am waith medi Taflodd y "boneddwr" drem seisnigaidd arnynt, ac, ebe efe "Lle chi dod?" Attebasant iddo. "Peth i chi 'mofyn *per acre* am fedi?" Dywedasant y pris. "*All right*; mae llawer iawn *of* gwaith medi gyda fi—holl caeau oco gyd—fi byw yn *palace* mawr oco. Fi gna *aggreement* â chi fedi llafur i gyd. Chi roi pump punt i fi cadw nes chi dibenu gwaith fi. Fi cwrdd â dynon drwg, cilo bant cyn dibenu." Chwiliodd pob un ei logell, a rhyngddynt oll, gwnaethant i fyny y pum punt, a roddasant hwynt iddo. "Tyna nawr, (ebe efe) ewch i mewn i cae. a dechrwch medi pen isa, a chofiwch fedi glân. Dewch lan palas oco wetyn cael bwyd, diod, a cysgu. Cewch pump punt nol ar ol dibenu y *job*, a talu hefyd. Bore da chi nawr," ac ymaith yr aeth a'r pum punt yn ei logell.

Nid cynt y cychwynodd nag yr ymruthrodd y medelwyr i'r maes, ac nid aml oriau fuont cyn "gwneuthur eu hol," a'u hunain yn chwŷs mawr, gan ganmol y *job* a'r "boneddwr" yn mhob yn ail gyda llawenydd nid bychan.

Yn y prydnawn daeth gwir berchenog y maes yn ei fawrder a'i rhwysg allan o'i fangre, ac, er ei fawr syndod, gwelai ddynion yn medi ei lafur, Gwyddai nad anfonodd efe hwynt. Am hyny, danfonodd ei weision atynt i'w hanfon ymaith; ond haeru wnaethant mai perchenog y maes a'u hawdurdododd, ac n chymmerent ball, eithr bygythiasant y gweision druain a'u crymanau, ac nid cyn ymladd brwydr boeth, a dyfod o'r perchenog ei hun i'r maes gyda'i nerthoedd, y gorfodwyd hwynt i ffoi heb ymborth na thal ond dysg ylliad brawychus am gael eu dal a'u cospi am eu gwrthryfel.

Gofynir yn

1. Pwy ydyw y rhodreswr?
2. Pwy ydynt y medelwyr siomedig?
3. Pa beth yw y maes?
4. Pwy ydyw iawn berchenog y maes?
5. Pwy ydynt ei weision awdurdodedig?

*Llanelli,* **DAVID DAVIES.**

## LLYTHYR ISRAEL EVANS.

*Abertawy, Hydref* 17, 1856.

Y LLYWYDD DANIELS,

Anwyl Frawd,—Ar ol ymweled â phob Cynnadledd yn y Genadiaeth Gymreig yn ystod y tri mis diweddaf, roddaf i chwi hanes bŷr o honi.

Ar fy ymweliad â'r Gogledd, yn mhlith y Saint ffyddlawn a chywir-galon, ymfwynhäais yn fawr. Cefais y Saint ar eu cynnydd mewn ffydd a gweithredoedd da. Yr oedd yr egwyddor o ddegymu, yr hon a blanwyd o dan gyfarwyddyd a doeth gynghor y Llywydd Ashby, pan ar ei ymweliad yno, ar ei chynnydd. Yr oedd pawb ag oeddynt wedi dechreu gweithredu yn ol y gyfraith nefawl hon yn gadarn yn y dystiolaeth o'i bod wedi profi yn fendith iddynt

Meithrinodd y brawd John Jones, fy ngyd ymdeithydd, a minnau, yr egwyddor o ddegymu, gan ddangos i'r Saint yr anghenrheidrwydd iddynt ufuddhau i'r gyfraith hon, a'r canlyniadau daionus a fyddent yn sicr o ganlyn, ac yr wyf yn ddiolchgar i Dduw am ein bendithio â'i Ysbryd i'w dysgu, a'i bobl â thuedd i'w chyflawni.

Mae y brawd Jones a'r rhai sydd gydag ef yn y Gogledd yn ddynion da—yn gyfrai a wnant eu goreu i gyflawni eich holl gynghorion iddynt.

Bedyddiasom amryw pan ar ein taith trwy y Cynnadleddau, ac yr oedd argoelion addawol am ychwaneg pan ymadawais. Deallaf fod amrai wedi cael eu bedyddio ar ol hyny.

Ar ol dychwelyd, cefais yr anrhydedd o ymbresennoli yn rhai o Gymmanfäoedd y Deau lle y cefais fod yr un ysbryd a theimlad da yn ffynu—y degwm ar ei gynnydd—awydd cyffredinol am draethodu. Hyderaf y gwneir daioni mawr trwy gyd ffydd ac ymdrech y Swyddwyr a'r Saint, ac y dygir llawer o eneidiau gonest o dywyllwch i oleuni y gwirionedd,

Da genyf ddweyd fod gwaith yr Arglwydd yn y Genadiaeth hon yn cynnyddu yn ddymunol. Mae y Saint, gydag ychydig eithriadau, y rhai fyddant, cyhyd ag y cyd-dyfa y gwenith a'r efrau, yn benderfynol i fyw yn ol cyfreithiau y nefoedd, fel eu gwneir yn hysbys iddynt. Fy naer weddi i ydyw ar iddynt barhau felly, canys dyna yr unig ffordd i fywyd.

ISRAEL EVANS.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

### DYDD SADWRN, HYDREF 25, 1856.

TROSEDDU.—Yn mhlith y lliaws gwirioneddau a ddygwyd i oleuni trwy ddadguddiad o Efengyl Iesu Grist, y mae un wedi ei brofi yn amlwg iawn yn y dyddiau diweddaf hyn nas gall y dyn sydd yn ymarferyd â drygioni aros yn hir yn Eglwys Dduw.

Gall dynion gyrhaedd goieuni a dealltwriaeth—gallant gael y nefoedd wedi eu hagor o'u blaen, a mwynhau gweledigaethau tragywyddoldeb, &c., ac etto i gyd, er bod yn gyfranogwyr o fendithion goruchel y nef, trwy droi at, a dilyn ar ddrygioni, hwy a syrthiant yn ol i gaddugawl dywyllwch, collant bob goleuni, ac anghofiant hyd y nod Eglwys Dduw. Defnyddiant bob dylanwad yn eu gallu i wrthwynebu a rhwystro y gwaith hwn pan yr elont i warthus bechod, rhagrith a rhyfyg.

Dichon y rhyfedda aml un fod y cymmeriadau a nodwyd yn gallu ymollwng i'r fath raddau.

Lusiffer, "Mab y Wawr Ddydd," oedd y *dissenter* cyntaf. Er ei fod unwaith yn angel y goleuni, etto, trwy ei ddrygioni a'i wrthryfelgarwch efe a aeth yn Satan—ymdderchafai goruwch pob peth a elwir yn Dduw—mynai *efe* fod yn Dduw, neu yn wrthddrych addoliad.

Mae ereill, yn ol eu gwahanol raddau a sefyllfaoedd yn Eglwys Dduw yn y dyddiau diweddaf hyn. Enwn y rhai nodedig canlynol.—Sidney Rigdon, James J. Strang, Gladden Bishop, Martin Harris, Brewster, Charles B. Thompson, Cutler *(the negro preacher,)* Oliver Olney, Lyman Wight, &c., &c.

Torrwyd pob un o'r rhai uchod allan o'r Eglwys am eu troseddiadau gwarthus a'u gwrthryfel. Ar ol ei esgymundod haerai pob un o honynt mai efe oedd y Prophwyd, a cheisiai dynu dyscyblion ar ei ol.

Mae yn ddiau y cyfyd rhai o'u bath etto, ac y tynant rhai o'r un tueddiadau a hwynt ar eu hol; ond gwir blant Duw a gedwir

yn ddiogel, ac ni wna hyn ond ychwanegu at eu tystiolaeth, a'u gwneuthur i lynu yn ddiysgog gyda gwaith Duw, hyd oni orchfyngir pob gelyn,

Deallwn fod ambell i ysgymun-beth, mewn gwahanol gymmeradau yn ceisio twyllo y Saint Cymreig, a chardotta. Bydder wyliadwrus yn hyn.

---

Y TRAETHODAU NEWYDDION.—Bwriadwn gyhoeddi un o honynt bob pythefnos, neu yn nghynt os gallwn, hyd oni ddelont allan i gyd. Hyderwn fod yr alwad gyntaf wedi bod yn ddigon i'r holl Lywyddion ddarparu gwirfoddoliaid yn mhob Cangen i fyned allan yn enw ein Duw ni i gael ychwaneg o filwyr i fyddin Iesu. Mae ein Llywyddion yn llawn tân dwyfol wedi newydd ddyfod o Deml Dduw, a phrophwydant yn enw Duw Israel y bydd i'r cannoedd o filoedd o draethodau a ddosparthir trwy yr ynysoedd hyn wneuthur cynhwrf nid bychan—y llenwir addol-dai y Saint â gwrandawwyr awyddus, ac y dygir lluoedd i oleuni yr Efengyl. Hyderwn, fel y dywedwyd o'r blaen, na adewir i'r un traethawd o un math perthynol i'n hegwyddorion i orwedd yn segur. A ganlyn sydd ddifyniad o'r traethawd sydd yn awr yn y wasg ar

"Y WIR FFYDD.

1. Bwriad yr awdwr yn y bennod hon yw, darlunio a deffelyddu yr egwyddor fawr, a elwir Ffydd. Nid ydyw hon yn egwyddor ddansoddawl, neillduedig a gwahanedig oddiwrth y meddwl, ond y mae yn wir gyflwr neu sefyllfa o'r meddwl ei hun. Pan mae y meddwl yn credu neu a chanddo ymddiried mewn unrhyw bwnc, neu ansoddiad, neu osodiad, pa un ai cywir neu anghywir, y mae pryd hyn mewn meddiant o ffydd. Bod a ffydd yw credu yn unig. Ffydd a chrediniaeth, gan hyny, ydynt ymadroddion cydarwyddocaol, mynegiadawl o'r un meddylrith.

2. Ffydd neu grediniaeth ydyw effaith prawf cyflwynedig i'r meddwl. Heb brawf nis gall y meddwl gael ffydd yn unrhyw beth. Nyni a gredwn y syrthia careg, pan yn anattegawl, ar y prawf o gynddarsylwad mewn perthynas i syrthiad cyrff trymion. Yr ydym yn credu y bydd i ddydd a nos i barhau ar dystiolaeth o brofiad gynt mewn perthynas i unffurfiad cyfreithiau natur. Yr ydym yn credu fod eangder a diderfyn, a

pharhad yn ddiddiwedd, ar y prawf a gyflwynir gan y meddwl ei hun, yr hwn ar unwaith a genfydd y gwrthuni o fod nac eangder na pharhad yn derfynedig. Yr ydym yn credu yn mhob gwirionedd hunan dystiol, ar y prawf fod pob gosodiadau gwrthwyneb i'r gwirioneddau hyn yn wrthun. Yr ydym yn credu yn holl wirioneddau mawrion celfyddyd, naill ai ar y prawfiadau o ymchwiliadau ein hunain, neu ar adchwiliadau ereill. Yr ydym yn credu mewn ffeithiau hanesyddawl ar dystiolaeth yr hanesydd. Ffydd yn mhob ffaith, gosodiad, gwirionedd, neu ddargynnygiad y rhai mae genym ymddiried ynddynt, sydd, yn mhob achosion pa bynag, wedi tarddu oddiwrth brawf Gan hyny, heb brawf, nis gall ffydd gael bodolaeth.

3. Ffydd sydd o ddau fath, sef, *gau* a *gwir*. Ffydd gau ydyw yr effaith o roddiad coel i gau dystiolaeth. Gwir ffydd, yr effaith hanedig oddiwrth wir dystiolaeth.

4. Ffydd Cain yn offrymiad ffrwythau y ddaear oedd yn gau, gwedi tarddu o ryw dystiolaeth anghywir, mewn perthynas i offrymau, neu mewn perthynas i'r ymddygiad anghenrheidiol i gyrhaeddiad bendith Ffydd Abel yn offrymiad blaenffrwyth ei ddiadell, oedd wedi ei sylfaenu ar y prawf a gafodd oddiwrth air Duw y byddai y ffath offrwm i'w foddloni Ef. Ffydd yr Aifftiaid yn athrawiaethau y swynwyr ydoedd yr effaith o dystiolaeth gau, wedi ei nherthu, ac, fel y tybient hwy, wedi ei chadarnhau trwy y gwyrthiau lliosawg a wnaethwyd trwy eu dwylaw drygionus. Ffydd Israel yn athrawiaethau Moses ydoedd wedi sylfaenu ar wir brawf, ac oddi yma, yn foddus yn ngolwg Duw. Ffydd yn eilunod ac yn chwedlofyddiaethau (mythologies) y cenedloedd, sydd effaith tystiolaeth gau draddodiadol. Ffydd yn y gwir Dduw sydd yn sylfaenedig ar wir brawf. Ffydd mewn athrawiaethau gau, ac yn y credoau ac erthyglau crefydd, wedi eu dyfeisio gan ddynol ddoethineb, sydd gynnyrchiad tystiolaeth draddodiadawl, nid i ymddibynu arni. Ffydd yn mhob gair Duw, pa un ai hen ai diweddar, sydd bob amser yn cael ei chynnyrchu trwy dystiolaeth ag sy wir, ac wedi ei hamcanu i roddi y sicrwydd mwyaf i'r meddwl.

5. Gan fod tystiolaeth yn blaenori ffydd, yr olaf a fyddai yn wan neu yn gryf mewn cyfartalwch i wendid neu gryfder y dystiolaeth. Lle mae amgylchiadau o natur ammheüus yn gydfynedol â phrawf; neu lle y perthyna i bethau ag ydynt

mewn rhyw fesur, yn anhebygol ynddynt eu hunain; neu lle mae prawf gwrthebol o yn agos yr un dylanwad neu bwys; neu yn unig lle mae prawf amgylchiadawl—dylai ffydd fod yn wan. Ar y llaw arall, lle mae prawfiadau yn gyfeiriawl; neu lle y perthynant i ddamweiniau neu bethau, nad ydynt yn anhebygol; lle mae amgylchiadau ffafriol o natur gadarnhaol yn gydfynedol a hwynt; lle na fyddo prawfiadau, o unrhyw ddylanwad neu bwys, yn wrthwynebol—dylai ffydd fod yn gref. Gwendid neu gryfder ffydd, gan hyny, yn mhob achosion, a fydd mewn cyfartalwch i wendid neu gryfder yr argraffiadau, a gynnyrchwyd gan brawf ar y meddwl, Mae yn dygwydd yn fynych, fod y farn yn dyfod mor wan a chymmylawg, fel nad yw y prawf, pa mor fawr, ac eglur, a dysclaer, ac arddangosiadawl bynag y byddo, yn cynnyrchu dim argraffiad teimladwy ar y meddwl. Yna, nid yw ffydd bob amser yn bodoli mewn meddyliau gwaethygawl neu lygredig gyda chryfder cyfartaledd i radd neu i rym y dystiolaeth."

---

## GWLADGARWCH, RHYDDID, A GWIRIONEDD

(Tôn—"*Toriad y Dydd.*"

Yr alwad sydd ar bawb o'r bron
O feibion Gwalia wiw,
I roddi heibio'u ofer waith,
Ac anrhydeddu Duw.
Trwy wrando ar ei gyngbor doeth,
A'i eiriau coeth wr call,
Goleua'r llygad mwyaf pŵl,
A'r meddwl mwyaf dall.

Y gŵr fo'n cywir garu Duw
A barcha'i ddeddfau mâd,
Fe geisia ddedwyddoli pawb
O fewn terfynau'r wlad.
Fe bortha y newynog tlawd,
Efe ddillada'r noeth,
Fe ddug yr egwan yn ei gôl,
A dysg y ffol yn ddoeth.

Eneinnia'r archolledig un,
A thrinia'i friwiau Ef;
Maddeua'r edifeiriol ddyn,
A'i dderbyn wna i dref.

Y galon glwyfus wna yn iach,
A'r hwyneb trist yn llon,
Ac yn lle galar fe a rydd
Lawenydd tan y fron.

A phe yn crefi am ei ffafr
Y gwelai eiddyl gwan,
Ni wnela'i sathru'n is i'r llwch,
Ond codai ef i'r lan.
Ni ddryga enw da ei frawd,
Rhag hyn fe deimla fraw;
Gweinydda ef rhwng gwr a gwr
Gyfiawnder ar bob llaw.

Heff hyfryd amser sydd gerllaw
Pan welir teulu Duw
Heb lid na malais yn eu plith,
Ond pawb mewn hedd yn byw.
Ni theimlir gormes mewn un man,
A threiswyr hyll ni fydd;
Ond rhyddid fydd o fôr hyd fôr
O gwawria ddedwydd ddydd!

I'r caeth cyhoeddir Jubili,
Goleuni i wlad y gwyll,
I'r claf cyflwynir iechyd pur,
Ac angeu nerth a gyll.
A lle bodolai ryfel certh
Bydd pawb yn byw mewn hedd;
A'r meirw'n do'd (ow ryfedd waith)
I fyny o byrth y bedd.

Gau draddodiadau'r byd o'r bron
Orchfygir gan y gwir;
Yn eglur gwneir pob twyll a brad
Mewn dwyfawl oleu pur.
Anwiredd gyda'i bleidwyr oll
Alltudir draw o'u plith;
Ac undeb fydd rhwng brawd a brawd,
Ac hyder—nid ei rith.

Preswylwyr daear, engyl nef,
A'r heirdd Seraphaidd gôr
Gyd-gathlant bur emynau mwyn
O fawl iw teilwng Iôr.
Yr haul, y lloer, a'r aml sêr,
Y ddae'r a'r moroedd maith;
A'r ëang greadigaeth fawr,
A'th folant yn eu hiaith.

*Heol y Felin.* JOHN REYNOLDS, IEU.

## EISTEDDFOD Y SAINT.

AT FEIRDD A LLENORION Y SAINT, A'U CYFEILLION TRWY GYMRU BENBALADR.

BYDDED hysbys y cynnelir Eisteddfod yn Neuadd y Saint, Abertawy, ar ddydd Nadolig nesaf, dan nawdd yr hybarch Lywydd D. Daniels, pryd y gwobrwyir yr ymgeiswyr llwyddiannus ar y testunau canlynol:—

### TRAETHODAU.

Am y Traethawd goreu ar Anghyssondeb yr Enwadau Crefyddol. Gwobr, gan Mr. D. Davies, Llanelli,—Cyfrol o "Hen Bregethau yr Anghyssonderau."

Am y Traethawd goreu ar Sefyllfa drallodus Teyrnasoedd y byd. Gwobr, gan Mr. T. Harris, Abertawy,—Geiriadur Seisneg a Chymraeg, (*An English-Welch Dictionary, by William Evans; second edition, Improved by thn late Rev. Mr. Richards. of Coychurch, Glamorganshire.*) wedi ei rwymo.

Am y Traethawd goreu ar "Dalu Degwm—ei ysgrythyroldeb—y bendithion a fwynheid trwy ufyddhau iddo, a'r aflwyddiant a ddilynai ei wrthwynebwyr." Gwobr gan Mr. D. Daniels, Llyfr Hymnau y Saint, rhwymiad goreu.

### BARDDONIAETH.

Am y gân oreu o "Ganmoliaeth i John Richards, Ysw., Court, Aberafan, am ei garedigrwydd tuag at y Saint yn Aberafan." Gwobr, gan Mr. Thomas Harris, Abertawy, "Y Wawr," yn gyflawn, ond heb ei rhwymo.

Am y gân oreu am "Helynt y Sant yn profi y byd." Gwobr, gan Mr. Dewi Efled, "Y Perl o Fawr Bris."

Am y gân oreu ar "Ddull o ddadl rhwng Anffyddiwr, Sectyddwr, a Sant, (i fod yn ddim llai na 25 o bennillion.) Gwobr, gan Mr. John Davies, gynt o Feirion, "Tafol y Beirdd."

Am y gân oreu ar "Ddull o ddadl rhwng Clochydd a Sant." Gwobr, gan Mr. T. Harris, Abertawy, "Life in America."

Am y gân oreu yn rhoddi hanes Hepburn (*The Anti-Mormon Lecturer*) a'r Parchedigion yn ymdrechu yn ofer i rhwystro Mormoniaeth. Gwobr, gan Mr D. Davies, Llanelli, "Hanes y Merthyron."

Am y gân oreu yn rhoddi "Helynt y Sant yn myned o dŷ i dŷ i Draethodu." Gwobr, gan Mr T. Harris, Abertawy, "Athrawiaeth a Chyfammodau." Y cyfansoddiad i fod yn ddim llai na 50 pennill )

Am y gân a ddyry y darluniad goreu o "Angbariad yr enwadau crefyddol at eu gilydd." Gwobr, gan Mr. T. Harris, "Brâd y Drôch."

Am y gân oreu yn rhoddi "Hanes Sant yn ymweled â thŷ ei dad Methodistaidd." Gwobr, gan Mr. T. Harris, Cyfrol o esboniad ar y Rhufeiniaid.

Am y gân oreu ar "Niwed a ffieidd-dra y tybaco a'r snuff." Gwobr, gan Mr. T. Harris, cyfrol o "Esboniad ar 1 Corinth."

Am y gân oreu "I'r Meddwyn." Gwobr, gan Mr. Wm. Lewis, Abertawy, "Yr Eurgrawn Ysgrythyrol."

Am y gân oreu ar "Ddirgel wewyr y Reverendiaid wrth weled gobaith eu helw ar ballu." Gwobr, gan Mr. Dewi Elfed, "Dr. Prichard's Memoirs."

Am y gân oreu ar "Formoniaeth wedi dyrysu y sectau." Gwobr, gan Mr. Dewi Elfed, "Perl o Fawr Bris."

Am y gân oreu ar "Gibau gweigion brodyr gau yn benaf gwledd Golygyddion Newyddiaduron a Misolion Cymreig," ar y dôn "*Mind your own busines,*" neu ryw dôn arall. Gwobr, gan Mr. Dewi Elfed, "Perl o Fawr Bris."

DADGEINIAID.

I'r dadgenydd goreu o "Joseph the Seer." Gwobr, gan Mr. T. Harris. "A Poet's Portfolio, and Minor Poems, by James Montgomery."

I'r dadgenydd goreu o "Sectariaeth yn y Fagl." Gwobr, gan Mr. T. Harris, "Adroddiad o Ffair Ddadl Rhymni."

Dymunir ar yr ymgeiswyr i fod yn bresennol, fel y gallont ddarllen eu cyfansoddiadau eu hunain. Os na allant bresennol, rhaid iddynt anfon rhywun arall i wneyd hyny yn eu lle.

Bydd i amryw dônau gael eu canu yn fedrus rhwng adroddiadau y gwahanol gyfansoddiadau &c. Mae Mr. A. L. Jones, Llywydd Côr Aberdâr, wedi addaw yn sicr y bydd ef a'i gôr yn bresennol. Byddai yn dda genym pe deuai côrau er eill hefyd i gymmeryd rhan yn ngwaith y dydd.

Bydd plant yr awen at eu rhyddid hefyd i ganu ar y testunau a'r mesurau a ewyllysiont, caethion neu ryddion, heblaw y cyfryw enwyd uchod.

Os ewyllysia rhywun areithio, canu, neu adrodd ar rhyw destun, yn Gymraeg neu Saesneg, hysbyswn hwynt i anfon atom yn mlaen llaw.

Dysgwylir i'r cyfansoddiadau ac enwau yr holl ymgeiswyr gael eu hanfon wythnos yn flaenorol i law "Thomas Harris, 2, Clifford Place, Whites' Garden, Swansea.

Bydd y cyfansoddiadau i fod yn eiddo yr Eisteddfod; a'r rha buddugol i ymddangos yn yr UDGORN o dro i dro.

Gwobrwyir yr ymgeiswyr llwyddiannus ar ddydd yr Eisteddfod.

Os teimla ereill etto i roddi testunau a gwobrwyon, anfonant yn brydlon erbyn y rhifyn nesaf: bydd rhy hwyr ar ol hyny.

Bydd y drysau yn agored am hanner awr wedi deg yn y boreu, am ddau yn y prydnawn, ac am chwech yn yr hwyr. Tocynau, chwe cheiniog yr un. Yr elw i fyned at draul y Gynnadledd, a'r cyfrif i gael ei roddi yn y Gymmanfa ganlynol.

Yr eiddoch yn barchus,
THOMAS HARRIS,
*Llywydd y Gynnadledd.*

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

CYMMANFAOEDD.—Cynnelir Cymmanfa Sir Feirionydd Tachwedd 23ain; Dyffryn Conway a Môn, 30ain; Sir Ddinbych, Rhagfyr 7fed; Sir Fflint, 14eg.

DERBYNIADAU AM LYFRAU O HYDREF 10 HYD 22.—T. Stephens, £2 10s; M. Vaughn, £3; Wm. Jones, £1 5s.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 23.] TACHWEDD 8, 1856. [CYF. IX.


## PREGETH,

GAN Y LLYWYDD B. YOUNG, BOWERY, MEHEFIN 22, 1856.

DA genyf y cyfleustra i gyfodi etto ger eich bron i ymddyddan ar y pethau hyny a berthynant idd ein heddwch, ag ydynt o'r dyddordeb mwyaf i ni yn ein myfyrdodau a'n bywydau, y mae yn fater o lawenydd a chysur i mi.

Dyry fawr lawenydd i mi i edrych ar gynnulleidfaoedd y Saint, tra yr adfeddyliwyf fod rhai o honom wedi bod yn ffyddlawn yn yr Eglwys hon am flynyddau lawer, wedi pregethu i'r Saint ac i bechaduriaid, wedi galw ar bobl i edifarhau tra y cyfeiriwyd bys gwawd atom ac y dywedwyd pob drygair am danom yn gelwyddog. Ac amryw weithiau, ni chaffai yr Henuriaid, pan yn ffyddlawn lafurio i bregethu yr Efengyl, le i osod eu penau i lawr, ddim drysau yn agored i'w derbyn a neb i'w porthi, etto maent wedi teithio a chwilio hyd nes y maent wedi caffael lluaws mawr a ddylasent fod yn onest-galon, lluaws mawr ag ydynt wedi ufyddhau i'r Efengyl.

Bu yn waith caled i amrai o Henuriaid yr Eglwys hon gyflawni a wnaethpwyd, i bregethu yr Efengyl i gynnifer o bobl mewn cynnifer cenedl a theyrnas.

Pe cyfrifid y milldiroedd a deithiodd ein cenadon, ymrifent yn ddirfawr swm, a phe gallech wybod pa sawl diwrnod y buont

heb fwyta, tra yn galw ar y bobl i edifarhau, caffech eu bod yn nifer go aml.

Pe gellid arddangos cythryblau y bobl hyn oddiar dechreuad y gwaith hwn, o hanes cynnar y Prophwyd ac erlidigaethau y Saint, o flaen y gynnulleidfa hon, chwi a synech ac a ryfeddech atynt. Ni chredech y gallai pobl ddyoddef cymmaint ag a oddefodd y bobl hyn, chwychwi a'i hystyriech yn annichonadwy i ddynion a benywod ddyoddef a myned trwy yr hyn a aeth lliaws yn yr Eglwys hon. Yn wir y mae yn wyrth ein bod yma.

Gan ystyried y pethau hyn, a syllu ar ein hamgylchiadau presennol, a'r breintiau a fwynhawn, nid oes calon ar sydd yn gyflawn ystyriol o'r hyn a aethom drwyddo, a'r bendithion a fwynhawn, heb foli Duw yn barhaus, a theimlo i waeddi—'O clodforer enw ein Duw ni.'

Gwir yw, teimla amryw fod genym amserau celyd yma, fod hon yn wlad galed i fyw ynddi. Mae genym auafau hirion ac oerion, a chenym lawer iawn o rwystrau i'w gwrthsefyll--y rhyfeloedd Indiaidd, y rhyfeloedd bryfedaidd, y rhyfeloedd â cheiliogod y rhedyn, ac â'r sychder.

Mae yr hyn a ddyoddefasom yn ystod y ddwy flynedd fynedol yn dyfod o'n blaen, ac yn awr mae yr argoelion yn dywyll ynghylch cynnaliaeth dyn.

Pa nifer sydd a ddywedant fel hyn? "Oni bai Mormoniaeth, gwybyddwn ar unwaith pa beth sydd i'w wneuthur; mi a wn pa lwybr a ddilynwn." Pa beth a wnelech frawd? 'Cedwn fy mhecyn ac ymadawwn; gwerthwn a feddwn yma, neu, pe y methwn, mi a'i gadawwn.' Dyma deimladau rhai.

Mi ddywedaf wrthych pa beth yw fy nheimladau, maent i glodfori Duw am amseroedd celyd, canys teimlwyf ei fod yn un o'r breintiau mwyaf i gael byw mewn gwlad annymunawl, lle yr â y drygionus heibio.

Yn awr, a ydym ni oll yn gweled hyn? Nac ydym, er nad amheuwyf y fod rhai. Dywedaf wrthych pa beth a wna i chwi ei weled; i ddyoddef y golled o bob peth yma, trwy ddyfod o'r gelyn, a'ch gyru allan o'ch tai, o'ch ffermydd a'ch maesydd, a chymmeryd eich hanifeiliaid, eich offerynau amaethyddawl, a'r ychydig foddion a feddwch, a'ch alltudio o'r lle hwn a'ch hanfon i

ffwrdd bump neu chwech cant o filldiroedd, wedi eich hamddifadu o'r oll a feddwch, heb fwyd a dillad cyfatebol i'r daith.

Ewch wedi hyny i weithio, ac ymegniwch a llafuriwch a'ch holl egni, am ychydig flynyddau, i ennill cartref arall, ac yna deued haid arall a gyrant chwi o'r lle hwnw, gan gymmeryd eich hanifeiliaid, eich ffermydd, a'r oll a feddwch, a dywedyd wrthych eu bod yn mofyn eich meddiannau, ac erbyn y byddent wedi eich gyru bump neu chwech o weithiau, fel y gwnaethont ag amryw o honom ni, a gwneuthur i chwi adael pob peth a feddwch, a'ch bygwth â marwolaeth, a gwylied am danoch ar hyd y dydd a'r nos am gyfleustra idd eich lladd, a hwythau yn ddiomedd yn cael myned yn benrydd eofn, ac a'ch lladdent pe meiddient, ar ol myned trwy bymtheg neu un flynedd ar bymtheg o'r math yma o erlidigaeth, diolchech i Dduw am amseroedd celyd, am wlad lle na ddymunai terfysgwyr fyw.

Nid oes gan lawer o'r bobl yn y Dyffrynoedd hyn brofiad yn y pethau yma, a byddai yn dda iawn genyf gael y fath rai i ddianc rhag y treialon hyn, pe gallent dderbyn yr un gogoniant a dderbynient pe byddent wedi myned trwyddynt.

Dysgwyliaf ar y bobl, ac, fel y dywedaf yn aml, mae ynof dosturi drostynt, canys nid oes gan bawb brofiad. Dywedwyd boreu heddyw nas geilir eich gwneuthur yn Saint perffaith mewn un diwrnod, mae hyny yn annichonadwy. Byddai gystal i chwi gymmeryd mewn llaw i ddysgu plentyn bob cangen o lenoriaeth Seisnig yn ystod yr wythnos gyntaf o'i ymbresennoliad i'r ysgol, ni ellir gwneuthur hyny.

Nid ydym yn y cyflwr i dderbyn mewn un dydd, nac mewn un flynedd, y wybodaeth a'r profiad sydd gymhwysiadol i'n gwneuthur yn Saint perffaith, eithr dysgwn o bryd i bryd, o ddydd i ddydd, o ganlyniad yr ydym i dosturio y naill dros y llall, i edrych ar naill y llall fel y dymunem i eraill edrych arnom ninnau, ac i gofio ein bod yn fodau gwael, marwol, ac nas gellir ein nhewid ar y goreu ond trwy efengyl yr iachawdwriaeth.

Fel y sylwyd boreu heddyw, dylem fod yn nyni ein hunain, ac nid neb arall. Ni ddymunwn fod yn neb arall, ni ddymunwn chwaith fod yn neb ond Saint. Dymunwn i'r Efengyl gymeryd effaith ar bob un o honom ; a gallwn gyfnewid yn ein teimladau,

yn ein tueddiadau, a'n naturiaethau i'r graddau a nodwyd gan y Llywydd Kimball yn y gydmariaeth a dynodd.

Bydd i ddyn neu fenyw a ddewiso wneuthur ewyllys Duw, a chanddynt gyfleustra i'w hadnabod, gymhwyso eu calonau at y ddoethineb hon hyd oni ddelo yn hawdd ac arferol iddynt, a hwy a garant wneuthur daioni yn lle drygionu. Hwy a hoffant hwyluso bob egwyddor dda, ac ymwrthodant yn fuan a phob peth a duedda i ddrygioni, ennillant oleuni a gwybodaeth i wahaniaethu rhwng drwg a da.

Yr hwn sydd yn ymroddi ei galon at ddoethineb, ac yn dyfal geisio dealltwriaeth, a dyf i fod yn nerthol yn Israel.

Galwch i gof yr amser y cofleidiasoch yr efengyl, pa faint a wyddech chwi y pryd hwnw mewn cydmariaeth i'r hyn a wyddoch yn awr? A allasech chwi ganfod cyfeiliornad y pryd hwnw fel yn awr? A allasech chwi y pryd hwnw ddeall gweithrediadau y gwahanol ysbrydion fel y gallwch eu deall yn awr? Gwn pa beth fyddai eich hatebiad i'r gofyniadau hyn.

Yn nghyfodiad cyntaf yr eglwys, pan y cyflwynid doniau yr efengyl i berson neu bersonau, ni allasai y bobl ddeall amgen na bod cyfranwr y ddawn yn rhoddi hefyd yr ymarferiad o honi; gymmaint drafferth gafodd yr Henuriaid a ddeallent y mater hwn i'w wneuthur yn ddealladwy i ddealltwriaethau y bobl.

Cymmerwch, er enghraifft, y rhodd o dafodau; er's blynyddau yn ol yn yr eglwys hon gallasech gael dynion oedranus a phrofiadol ymddangosiadol, a bregethent ac a sefydlent Gangenau, a phan y cyfodai bechgyn a merched ieuainc iawn i fyny a llefaru mewn tafodau ac y cyfieithai ereill, ac efallai y byddai y cyfieithad hwnw yn addysgu yr Henuriaid a'u dygasant i'r eglwys, troent a dywedent, 'Gwn fy nyledswydd, dyma air yr Arglwydd i mi, a rhaid i mi wneuthur fel y llefarodd y bechgyn neu y merched hyn mewn tafodau.'

Gofynwch i un o'r Henuriaid os deallant bethau felly yn awr, a hwy a ddywedant, na, bod y doniau o Dduw, a'n bod ni yn oruchwylwyr i'w defnyddio fel yr ewyllysiom.

Os gelwir dyn i fod yn brophwyd, ac y tywelltir y ddawn brophwydoliaethol arno, er pe byddai iddo wedi hyny herio gallu

Duw a throi ymaith oddiwrth y gorchymyn santaidd, parhâ y dyn hwnw yn ei ddawn, a prophwyda gelwydd.

Efe a wna brophwydoliaethau gau, etto efe a'i gwna trwy ysbryd y brophwydoliaeth ; efe a deimla ei fod yn brophwyd ac y medr brophwydo ond efe a'i gwna trwy ysbryd a gallu arall nac a gyf. ranwyd iddo gan yr Arglwydd. Defnyddia y ddawn gymmaint ag y defnyddiwch chwi a minnau yr eiddom ni.

Mae y ddawn o weled â'r llygaid naturiol yn ddawn hollol gymmaint a'r ddawn o dafodau. Yr Arglwydd a roddodd y ddawn hono a gallwn ei defnyddio fel y mynom mewn perthynas i weled ; gallwn ddefnyddio golwg y llygad er gogoniant i Dduw, neu er ein dinystr ein hunain. Y ddawn o archwaethu sydd yn ddawn Duw, gallwn ddefnyddio hono i borthi a boddhau chwantau y cnawd, neu gallwn ei defnyddio er gogoniant i Dduw.

Y ddawn o gyfrinachu y naill a'r llall sydd yn ddawn Duw yn llawn gymmaint felly ag yw y ddawn o brophwydo, o wahaniaeth ysbrydoedd, o dafodau, o iachau, neu unrhyw ddawn arall, er fod golwg, archwaeth, a llefariad yn gyfranedig mor gyffredinol fel nad ystyrir hwy yn yr un goleuni gwyrthiol â'r doniau hyny a nodir yn yr efengyl.

Gallwn ddefnyddio y doniau hyn, neu unrhyw ddoniau ereill a roddodd Duw i ni, er mawl a gogoniant Duw, i'w wasanaethu Ef, neu gallwn eu defnyddio i'w ddianrhydeddu Ef a'i achos; gallwn ddefnyddio y ddawn o lefaru i gablu ei enw. Mae hyn yn wir, ac y mae genyf gystal hawl â'r brawd Kimball i ddweyd fod yr hyn a lefarwyf yn wir.

Mae yr egwyddorion hyn yn gywir mewn perthynas i'r rhoddion a dderbyniwn i'r dyben penodol o'u defnyddio er i ni allu sefyll a chael ein dyrchafu, ac fel na fyddo i'r cyd gorfforiad a dderbyniasom ddyfod i derfyn, ond parhau i bob tragywyddoldeb.

Trwy fanwl ymarferiad o'r rhoddion a anrhegwyd i ni, gallwn sicrhau i ni ein hunain adgyfodiad y cyrff hyn a feddwn yn awr, a driga ein hysbrydoedd ynddynt, a phan eu hadgyfodir, gwneir hwynt yn bur a santaidd ; yna hwy a barhant i bob tragywyddoldeb.

Eithr ni allwn dderbyn yr oll ar unwaith ; mae genym i dderbyn ychydig yma, ac ychydig acw. Os derbyniwn ychydig, ym-

wellhauwn ar yr ychydig hwnw; ac os derbyniwn lawer, ymwellhauwn arno.

Os cawn lîn heddyw, ymwellhauwn arni; os cawn un arall y fory, ymwellhauwn arni; a phob llîn, gorchymyn, a dawn a dderbyniom, mae genym lafurio arnynt, fel ag i ddyfod yn berffaith gerbron yr Arglwydd.

Dyma y ffordd ydym ni i gyfnewid ein hunain, a chyfnewid y naill y llall, mewn perthynas i egwyddorion cyfiawnder.

Fel y sylwodd y brawd Joseph boreu heddyw, 'Joseph raid fod yn Joseph; Brigham raid fod yn Brigham; Heber raid fod yn Heber; Amasa raid fod yn Amasa; Orson raid fod yn Orson, a Parley raid fod yn Parley; rhaid i ni fod ein hunain.

Pa beth a ddylem ni fod, a pha beth ydym? Cymmeraf rhyddid i ddweyd ychydig eiriau ar hyn. Crewyd ni yn uniawn, pur, a santaidd, ar ddelw ein Tad a'n Mham, ar ddelw ein Duw ni.

Yn mha beth y gwahaniaethwn? Yn y talentau a roddwyd i ni, ac yn ein galwedigaethau Yr ydym wedi ein gwneuthur o'r un defnyddiau; cenedlwyd ein hysbrydion gan yr un rhieni; yn nghenedliad y cnawd yr ydym o'r un rhieni cyntaf, ac y mae holl dylwythau y ddaear wedi eu gwneuthur o'r un cnawd; ond yr ydym yn wahanol o berthynas i'n galwedigaethau.

Yn y lle cyntaf galiwn amrywio gyda golwg ar ein cyd-gorfforiadau perthynol i'r cnawd; eglurodd y brawd Kimball boreu heddyw paham a pha fodd y gwahaniaethwn.

Bydded dyn yn ymroddgar i Dduw, ac i'w grefydd, a'i wragedd gydag ef, ac y mae yn lled debyg o gael plant a dyfant i fyny yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Os yn ymgyssegredig y byddo yr oll o eiddo tad a mam i adeiladiad teyrnas Dduw ar y ddaear, os na fydd ganddynt ddymuniad amgen nag i wneuthur yn iawn, os cyfiawnder deyrnasa yn benaf, yna rheola yr ysbryd sydd ynddynt, i ryw raddau, y cnawd yn eu heppil.

Mae gan bob mab a merch fyned trwy y profiad ag yr ydych chwi a minnau wedi myned trwyddynt, rhaid iddynt gael eu treio, eu temtio, a'u cernodio, mewn trefn iddynt weithredu ar eu goruchwyliaeth gerbron Duw, a phrofi eu hunain yn deilwng o ddyrchafiad.

Er y cenedlir ein plant mewn cyfiawnder, eu dygir mewn santeiddrwydd, rhaid iddynt gael eu treio a'u temtio, canys maent yn oruchwylwyr o flaen ein Tad a'n Duw, yr un fath a chwi a minnau.

Rhaid iddynt ddwyn yr oruchwyliaeth hon i weithrediad; rhaid i'r nwydau a'r archwaeth gael eu llywodraethu a'u rheoli; y llygad, y lleferydd, yr archwaethau, y dymuniadau, rhaid i'r oll gael eu rheoli.

Pe rheolai y bobl eu hunain fel hyn yn eu bywydau, gwnelai hyny gyfnewidiad mawr mewn cenedlaethau etto i ddyfod.

Eithr ni allwn ryddhau ein hunain o allu Satan; rhaid i ni wybod pa beth ydyw cael ein profi a'n temtio, canys ni ellir dyrchafu un dyn na benyw ar un egwyddor arall, fel yr arddangoswyd yn odidog yn mywyd ein Hiachawdwr.

Yn ol philosophyddiaeth ein crefydd deallwn pe na fyddai efe wedi disgyn islaw pob peth, nad allasai fod wedi esgyn uwchlaw pob peth.

Gan ei benodwyd i esgyn uwchlaw pob peth, dygodd ei Dad a'i Dduw y peth oddiamgylch yn y fath fodd, trwy law-waith ei Ragluniaeth, fel ei wir ystyriwyd, yn ei enedigaeth ac yn ei fywyd, islaw pob peth.

A ddisgynodd efe islaw pob peth? Nid oedd gan ei rieni dŷ nac hyd y nod babell iddo gael ei eni ynddi, eithr gorfodwyd hwynt i fyned i breseb, yn ddiammheu o herwydd y gwrthodwyd iddynt y fraint o dŷ.

Ni allasai Mab y Dyn gael ei enw mewn tŷ, ac ymlusgodd y fam druan yn ei thrafferth i breseb, yn mysg y gwellt a adawwyd ar ol gan anifeiliaid.

Geill ereill fod wedi cael eu geni yr un mor isel, ond y mae yn anhawdd cael un, yn mysg rhanau gwaraidd dynolryw, sy'n myned ddim yn is.

Eithr yn nhyb y bobl nid ystyriwyd hwynt yn deilwng o ddim yn well; a thrwy ryw fodd digwyddodd felly, er nas gwyddent hwy paham, na'r bobl ychwaith.

Rhoddir hanes Joseph a Mair i ni gan eu cyfeillion goreu, ac yn union fel y rhoddwn ninnau hanes y Prophwyd Joseph. Gwyddom ei fod yn ddyn da, gwyddom iddo gyflawni ei genad-

;aeth, gwyddom ei fod yn ddyn anrhydeddus, a'i fod yn delio yn gyfiawn, gwyddom ei wir gymmeriad.

Ond caffed ei elynion roddi ei gymmeriad, a hwy a'i gwnant allan yn un o'r dynion gwaelaf a fu byw erioed. Caffed gelynion Joseph a Mair roddi eu cymmeriadau hwynt i ni, a themtid chwi yn fawr i gredu fel y credai yr Iuddewon.

Rhodded gelynion yr Iesu ei gymmeriad ef i ni, ac, yn absennoldeb tystiolaeth ei gyfeillion, ni wn amgen nag y byddai y byd Cristianogol presenol oll yn Iuddewon, mor bell ag y credent fod Iesu Grist yn dwyllwr, ac yn un o'r dynion iselaf a oesodd erioed.

Disgynodd yr Iesu yn isel iawn yn ei rhienyddiaeth a'i enedigaeth ; fe ellir gofyn, a ymddarostyngodd efe i gael ei leihau yn ei ddealltwriaeth ?

Yn ol yr un resymeg credwn y gwnaeth. Myfi a gredwn ei fod yn un o'r plant gwanaf a anwyd erioed, yn un o'r rhai mwyaf analluog tua'i enedigaeth; mor analluog fel y gellid meddwl na thyfai efe byth yn ddyn.

Pa beth yw ei hanes? Darllenwch drosoch eich hunain yr hanes a ddyry ei gyfeillion. Dywedir fod Josephus wedi rhoddi hanes lled gywir am Joseph a Mair, am yr apostolion, &c., eithr nid yw wedi roddi ond cyffelyb hanes da am yr Iesu a'i rieni i eiddo ryw berson yn Llundain yn ddiweddar am y "Mormoniaid" a Joseph Smith eu Prophwyd, er ei fod yn rhoddi hanes lled deg.

Cymmerwch ddyn yn Paris neu yn Llundain, ac ysgrifened hanes am Joseph Smith a Saint y Dyddiau Diweddaf ddeng mlynedd ar ugain ar ol nodweddiad Joseph ar y ddaear, canys yn mhen amryw flynyddoedd ar ol ei groeshoeliad yr ysgrifenwyd hanes Crist gan Josephus, ac efe a ddeuai mor agos i'r gwirionedd fe allai, ag y daeth Josephus yn yr hanes a roddodd am Iesu a'i Apostolion. Yr oedd Josedpus yn ddyn lled deg, ond ni wyddai nemawr am danynt.

Pa hanes fyddai yr Iesu wedi roddi am dano ei hunan pe gallasai fod wedi trosglwyddo ei ddywediadau ei hun. Cyffelyb ag y rodda pob dyn da, canys dywedasai efe y gwirionedd, ond yn awr y mae genym gymeryd ei hanes oddiwrth ei gyfeillion ac oddiwrth ei elynion. Pa hanes gawn oddiwrth yr Iuddewon.? Mentraf ddweyd nas gallasai un dyn byw ar wyneb y ddaear, a fedrai

ddefnyddio iaith ddarlunio cymmeriad unrhyw ddynsawd fo'n byw ar y ddaear, liwio gwaeth cymmeriad nag y roddent hwy i Iesu Grist. Cydmarwch hyn â'r oll sydd wedi cael ei ddywedyd yn erbyn Joseph Smith, a chwi a gewch allan fod gan ddoethineb y genedlaeth hon blygu i eiddo yr Iuddewon, canys darluniasant hwy y cymeriad gwaelaf yn yr hanes a roddasant am yr Iesu; ond gadawer hyn i fyned heibio.

Gellwch weled fod genym reoli ein hunain, mai trwy yr Efengyl y gallwn wir wneuthur hyny a diwygio. Geill pob dyn a benyw, wrth ysbryd y gwirionedd, ymffurfio i'r egwyddor hono i ymwellhau hyd oni ddeallom ac y gwyddom bethau Duw, fel ag i achub ein ein hunain wrth orchymynion ac ewyllys Duw.

Mae yr efengyl yn syml, y mae yn eglur. Mae dirgelwch duwioldeb, neu yr efengyl yn hollol gynnwysedig yn ein hanwybodaeth ein hunain; dyma yr achos o'r dirgelwch a dybiwn ei fod yn y dadguddiadau a roddir ini; y mae yn ein hannealltwriaeth ein hunain—yn ein hanwybodaeth. Nid oes ddirgelwch trwy holl gynllun yr iachawdwriaeth

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, TACHWEDD 8, 1856.

## EPISTOL Y LLYWYDD D. DANIELS AT Y SAINT YN NGHYMRU.

Hynaws Saint,—Gyda mawr bleser ac hyfrydwch yr ysgrifenaf fy nheimladau atoch y waith hon etto, gyda diolchgarwch am y pleser a gefais o gyd-lafurio â chwi yn ystod y rhan fynedol o'r flwyddyn hon, gan gydnabod Duw am roddi ei Ysbryd Glân mor helaeth i ni yn ngwaith ei winllan.

Da genyf weled cynnifer, yn ngwyneb y dadguddiadau a'r

cyfreithiau newyddion, i ni, sydd yn dyfod allan o Seion, trwy yr Offeiriadaeth santaidd, wedi parchu ac anrhydeddu cyfraith y Degwm, a thrwy hyny barchu ei dwyfol Awdwr, nid yn unig mewn gair, ond mewn gweithred a gwirionedd. Ar yr un pryd y mae yn ddrwg genyf na allaf ddywedyd yr un peth am bob Cangen o bob Cynnadledd.

Mae y chwarter olaf o'r flwyddyn hon wedi yn agos hanner treulio, tra mae ynddi waith mawr i gael ei wneuthur. Ei diwedd a ddynoetha ffrwyth llafur pob Cangen yn Nghymru, pan hyderwn na chywilyddier yr un o honynt ar agoriad y llyfrau yma ar y llawr. Da fyddai cofio hefyd bob dydd a nos fod llyfr coffadwriaethol yn y nefoedd hefyd, yn yr hwn y croniclir gweithredoedd pob un tra yn y corff, yn llawer manylach a pherffeithiach nag yma ar y ddaear; dichon hefyd y dengys hyd y nod feddyliau a bwriadau ein calonau.

Arnoch chwi, anwyl Saint, sydd etto heb ufyddhau i gyfraith y degwm, y crefwn y tro hwn etto i beidio ag oedi dim yn hwy, fel y byddo i'ch henwau gael eu hysgrifenu yn y nef ac ar y ddaear; ïe, cyn diweddo y flwyddyn hon, yn mhlith y lleill a brofant eu hunain yn bleidwyr parod i achos Iesu Grist trwy eu gweithredoedd, oblegid na wna dim arall y tro—yn ol ein gweithredoedd y cawn ein barnu. Onid yw yn ddichonadwy i bob un sydd wedi ei alw i'r alwedigaeth oruchel o fod yn Saint, a chael eu henwau ar lyfr Eglwys Dduw, weled lygad yn llygad ynghylch, a rhodio yn llaw-law wrth yr un reol, ac ufyddhau i'r cyfreithiau nefol fel y deuant allan i ni o bryd i bryd? Gwel pawb ond deillion mae felly y dylai fod, ac hyderwn mai felly y bydd o hyn allan gyda phob peth a ddaw allan o eneuau Apostolion a phrophwydi ysbrydoledig a santaidd Duw yn yr oruchwyliaeth hon.

Frodyr a chwiorydd, yn gymmaint ag nad ydyw bwriadau Duw wedi dyfod i ben mewn perthynas i rybyddio y byd tywyll ac anwybodus o'i drefn i'w achub am unwaith etto, Duw yn unig a ŵyr nad y waith olaf fydd i ni, galwaf arnoch i wneuthur mawr ymdrech ar yr ymgyrch yma etto i daenu traethodau ar hyd holl wyneb y wlad, a rhoddi tystiolaeth lem yr Ysbryd yn nertholach nag erioed, hyd oni orchfygir gweision Belial sydd

yn cynnyddu eu hymdrech i wrthwynebu gwaith yr Arglwydd, ac, er eu gwaethaf, y dygir lluoedd o onestion allan, cyn y tynant y rhwymau yn rhy dŷn i gael pob gwenithin allan o blith yr efrau cyn dydd y llosgfa. Mae dau o Apostolion yr Iesu, a chenhadon ereill wedi newydd ddyfod o Seion Duw yn llawn tân dwyfol i arwain byddin y Mormoniaid i'r frwydr yn erbyn gau athrawon a gau grefydd, gan dystio mae yn gymmaint ag y derbynia y Saint o'r ysbryd a'r ffydd hon dros rym gwirionedd eu crefydd, a chydweithredu a'u holl egni, yn enw Duw Israel nyni a drown genedloedd "Cristianogaeth," fel eu gelwir, tu isaf yn uchaf.

Nac aed yr un allan ond o'i wirfodd, ac mewn llawn ffydd ac hyder yn Nuw Israel. Mae yr hen amser gynt yn dychwelyd etto, mewn un ystyr—clywwn sŵn argyhoeddi a bedyddio amryw o bob cŵr, cyfarfodydd yn cael eu llanw o wrandawyr, a gelynion yn dyfod i wrthwynebu gan rwgnachrwydd wrth weled llwyddiant yn dechreu fel pe o'r wydd i goroni ein llafur, a'r wawr sydd yn awr yn tori yn addaw canol-ddydd teg a llawn wres haul cyfiawnder i wenu ar achos Duw yn Nghymru un waith etto.

Hysbys i chwi oll yw y bwriedir cyfieithu cyfres o draethodau newyddion yr enwog Lywydd Pratt, ac am y cynllun godidog i'w dosparthu ac i dalu am danynt. Ni ellir gwrthod traethodau y Saint yn awr gyda'r esgus fod ofn arnynt i'r Saint ymelwa ar eu ceiniogau, onder i'n dwylaw fod yn lân oddiwrth eu gwaed, cânt gynnyg ar eu benthyg. Da genym ddeall nad oes mewn rhai llefydd un math o fwthyn, tŷ, na phalas lle y triga bodau deallawl, ar nad yw wedi cael cynnyg ar dystiolaeth yr Iesu rywfodd neu gilydd. O! mor fawr yw braint y ffyddlon Saint yn y llefydd hyny. O! pe ddeallem ni a hwythau eu bod trwy hyny yn gosod sylfaen i Offeiriadaeth a breniniaeth ddiddarfod! —y bydd i'r rhai a'u gwawdiant ac a'u gwrthodant yn awr lyfu y llwch tan draed Saint breiniol yr Iesu, yr hwn a ddyry iddynt y frenhiniaeth a mawredd y frrenhiniaeth dan yr holl nefoedd. Da fydd gan ein gelynion presennol y fraint o fod yn weision isel y pryd hwnw!

Mae y traethawd cyntaf, sef, "Y Wir Ffydd," ar fod yn barod.

Dymunwn fod ein brodyr yn darparu eu hunain, eu gwragedd, a'u plant i'w ddosparthu gyda'r traethodau eraill, pan y deuant allan, fel na fyddo y Genedl Gymreig yn nes yn ol nag ieithoedd eraill mewn cyflawni ewyllys apostolion Iesu Grist.

Dywedwyd o'r blaen mai da fydd crynhoi pob traethawd sydd yn yr "hen Stock," a'u gosod yn y gymdeithas draethodawl, a'u cadw mewn cyffroad parhaus gyda'r rhai newyddion a ddeuant allan.

Rhoddir yr amser hiraf sydd ddichonadwy er talu am danynt. Er nad â y Swyddfa Gymreig yn hyn feallai yn ol rheol y Swyddfa Seisnig, gan ei bod yn wanach, etto, ni osodwn mwy o swm yn wythnosol ar y cynnadleddau i dalu am y traethodau nag y byddir yn rhwym o gael er cario y gwaith o argraffu yn mlaen, a dymunwn i'r Llywyddion ddeall yn bennodol nas gellir gwneuthur wrth ddimau yn llai na'r swm a osodir ar eu cynnadleddau, gan y gofynir y swm leiaf a ellir.

Iechyd, nerth, a bendith a ychwaneger ar ben pob un ffyddlawn a ddymuna ennill coron a rhan yn nheyrnas Iesu pan â yn ben yr holl fyd, yr hyn a ddaw yn nghynt nag y meddyliwn, yw dymuniad calon,

Eich gostyngedig gyd-was,

DANIEL DANIELS.

---

## GOHEBIAETH CARTREFOL.

### CYNNADLEDDAU Y GOGLEDD.

*Abergele, Hydref* 26, 1856.

ANWYL FRAWD DANIELS.—Daethym yma neithiwr a chefais eich llythyr i'm llaw yn union. Cychwynais o Fachynlleth dydd Mawrth, a phan ddaethym i Harlech gwelais y brawd Treharne; yr oedd efe wedi teithio llawer iawn o'r wlad i werthu traethodau, ac heb werthu fawr, ond er y cyfan mae y brawd yn llawn o Ysbryd yr Efengyl, a'i holl galon gyda gwaith yr Arglwydd, ac yn ymdrechu drwy berfedd Methodistiaid, i gario egwyddorion bywyd tragywyddol i'w gyd-ddynion.

Mae yr holl Saint a'r swyddogion mewn undeb da, ac yn

gwerthu llyfrau gymmaint ag a allant, ac nid oes yma un annedd ag y mae dynion yn byw ynddi heb gael cynnyg ar lyfrau yr Eglwys hon.

Danfonais y ddau frawd oedd yn Porthmadog i Dylife i weithio, ac y mae y ddau arall yn myned i Sir Fflint; gwell oedd iddynt fyned yno na dyfod i'r Deheu, er mae hyny oedd eu dwndwr. Gwyn fyd na allasech gael ychydig etto i ddyfod i fyny i Ffestiniog a Phorthmadog yn lle y rhai hyn; ac hefyd ddwsin neu ddau i Fôn a Chaernarfon, a thua'r un nifer i Ddinbych a Fflint,—y cynheuaf sydd fawr.

Bum heddyw yn Gynghor Rhuddlan, a chefais Gynghor wrth fodd fy nghalon,—y swyddogion yn llawn o Ysbryd yr Arglwydd pan yr oeddwn yn dysgu ar natur ympryd a gweddi gan yr Iesu a gweision Duw yn mhob oes o'r byd.

Mae y brodyr a'r chwiorydd wedi gwneyd eu gwaith gyda y llyfrau a'r traethodau, fel nad oes dim un tŷ yn mhlwyf Newmarket heb gael llyfr, neu gynnyg ar un, ac felly yn gyffredinol, ond efallai nid mor fanwl a'r lle hwn yn mhob man. Mae y traethodau agos oll wedi eu gwerthu, a'r degwm ar ei gynnydd yn mhob man, a thystiolaeth fod Duw yn bendithio pawb sydd yn gwneyd ei ewyllys Ef.

Mae amryw yn credu yn mhob Cynnadledd, a dysgwyliaf lawer o fedyddio yn fuan. Yr ydym yn bedyddio rhai o hyd—3 sydd wedi eu bedyddio yma, 7 neu 8 yn Sir Fflint, 3 neu 4 yn Sir Gaernarfon, a 3 neu 4 yn Sir Feirionydd oddiar y Gymmanfa ddiweddaf.

Fy nghofion goreu atoch chwi a'r holl deulu, a phawb o'r Saint.

Eich brawd yn Nghrist,

JOHN JONES.

---

[Gwahoddwn gynnifer o frodyr y Deheu a allant fyned, i anfon eu henwau yma, a myned allan i gynnorthwyo y brodyr hyn sydd a chymmaint o bwys y gwaith ar eu hysgwyddau, fel yr etifeddont y dyrchafiad a'r gogoniant a erys y fath ffyddlawn rai. Mae yr alwad yn daer, ac ofnadwy fydd y canlyniad o beidio myned pan y gellir.—GOL.]

## CYNNADLEDD SIR BENFRO.

*Hwlffordd, Hydref* 29, 1856.

Y Llywydd Daniels,—Mewn perthynas i lwyddiant, natur, a sefyllfa y Gynnadledd hon, gwyddoch trwy lythyrau y brawd Miles.

Yr ydym wedi bedyddio amryw yn ddiweddar, a chredwn fod llawer yn dra agos etto. Derbyniasom lythyr neithiwr o Abergwaun, fod yno un etto am gael ei fedyddio,—llawer o hâd sydd wedi ei hau yno o dro i dro, ac amlwg yw fod yno lawer o onestion wedi ei dderbyn, felly y mae yn sicr o weithio ar eu calonau yn awdurdodol, er gwaethaf yr holl "Beirch" sydd yn ymgynhyrfu wrth ein gweled.

Yr oeddwn yn credu er ys blynyddau yn nghrefydd y Saint, ond, er hyny, ni feddyliais erioed ei bod mor nerthol ag yr wyf wedi ei phrofi eisoes, a diolch i Dduw am dani. Rhyfedd fel y mae yr holl "athrawon" a "bentyrwyd i ddysgu" yn crynu o flaen Mormoniaeth, megys ag y cryna y blodeuyn o flaen yr ystorom. Gwywa gogoniant eu holl frawddegau jackyddawl o flaen geiriau mwynaidd a chariadlawn Mormoniaeth, megys ag y diflana y glaswelltyn o flaen tanbeidrwydd yr haul ganol dydd. Ond pa faint mwy yr ymddengys eu tywyllwch dudew pan ddelo yr Haul Formonaidd i'r *Meridian*. Diolchwn, ynte, am grefydd sylweddol, yr hon sydd yn cynnwys nerth annrhaethadwy, a gogoniant anghydmarol.

Y mae Miles a minnau megys un yn anfon ein serch atoch, ac hefyd at y brodyr Harris a Lewis yn y Swyddfa. Carem yn fawr weled y Llywydd Daniels yn ein Cymmanfa.

Ydwyf, eich ufydd was yn Nghrist,

DAVID JOHN.

---

## CAIS AT DDEHONGLI DAMMEG Y MEDELWYR.

YN gyntaf,—Meddyliaf mai y diafol yw y rhodreswr a sonir am dano, o herwydd ei deitl, ac hefyd ei waith yn cytuno a'r medelwyr, yr hwn nid oedd ganddo hawl i anfon neb i fedi eiddo un

arall. Nid da oedd i'r medelwyr ei gymmeryd ef wrth ei olwg allanol yn lle perchenog y maes, o herwydd hwy a gawsant eu siomi ynddo.

Yn ail,—"Y medelwyr siomedig." Nid yw y Ddammeg yn sôn *fod* neb wedi danfon y rhai hyn i'r maes, ond iddynt fyned heb eu danfon, yr un modd ag yr aethoch chwi Mr. Davies, cyn i chwi ddyfod at y Saint. Eich hen frodyr pregethwrol sectyddol ydynt.

Yn drydydd,—"Y maes." Dywedodd yr Iesu mai y maes yw y byd hwn.

Yn bedwerydd,—"Pwy yw iawn berchenog y maes?" Eiddo yr Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder, a'r byd ac a breswylia ynddo.

Yn bummed,—"Pwy yw ei weision awdurdodedig Ef?" Mi a ddywedaf ar unwaith mai Saint y Dyddiau Diweddaf ydynt. Yr wyf yn hyderu y boddlona Mr. D. Davies ar hyna.

Gan ei ewyllysiwr da,

*Merthyr.* JOHN ROBERTS.

---

## LLAIS Y GWAN.

TYDI 'r hwn wrendy lais y gwan,
Gogwydda'th glust a gwrando'm llef,
A dod yn rhwydd yn awr i'm rhan,
I hwylio camrau tua thref,
O diroedd Babel—cartrefle gormes gref.

Blinedig wyf—da gwyr fy Nuw,
Canys blinais ar gystuddiau hon,
Llinynau'm calon laes'n wyw,
'Rwy'n llusgo'n friw yn llesg o fron;
O gwel fi'n gwaelu, 'rwy'n tynu'n erbyn tòn.

Beth wedi'm dyoddefiadau 'gyd,
A raid im' farw'n mhell o'm gwlad?
A ddarfu'th fraich i'm cynnal cyd,
Yn erbyn gorthrwm, dig, a brâd,
Ac etto im' drengu yn mhell o Seion fâd.

Ti fuost imi, Arglwydd cyd,
Yn well bob pryd nâ thad na brawd,
Mi lefaf arnat 'nawr o hyd,
Canys grasol wyt i'r eiddil tlawd,
O ganol trallod hen Fabilon a'i gwawd.

A thua Seion tremio wnaf,
Lle gwelir santaidd Deml Iôr,—
Mor helaeth yw tosturi'm Naf,
Pwy wyr na chaf fyn'd dros y môr,
A myned iddi a chanu yn mhlith ei chôr. N. Ddu.

## EISTEDDFOD Y SAINT YN ABERTAWY.

Mr. Gol.,—Dymunaf arnoch gyhoeddi y testunau canlynol mewn ychwanegiad at y rhai a gyhoeddwyd yn y rhifyn diweddaf,—

Am y traethawd goreu (yn Seisnig) ar Hanes Gwrthgilwyr neillduol o Eglwys Dduw yn mhob oes o'r byd. Gwobr gan Mr. Israel Evans, "Snow's Poem."

Am y traethawd goreu ar Ufydd-dod ac Anufydd dod. Gwobr gan Mr. D. Davies, Llanelli,—Cyfrol Seisnig o Hanesyddiaeth Iuddewig, wedi ei rhwymo.

Am y gân oreu ar Lanweidd-dra. Gwobr gan Mr. D. Davies, Llanelli,—Cyfrol o'r Cronicl, wedi ei rwymo.

Am y gan oreu i Wraig Rinweddol. Gwobr gan Mr. Williâm Thomas, Llanelli,—Jones ar Fedydd, wedi ei rwymo yn hardd.

Am y gân oreu ar y Cyssondeb a fodola rhwng Pren Juda a Phren Ephraim, neu'r Beibl a Llyfr Mormon. Gwobr gan Mr. E. D. Miles, Hwlffordd,—Yr Eurgrawn Ysgrythyrol.

Am y gân oreu i Lywyddiaeth Cymru. Gwobr gan Mr. D. John, Hwlffordd.—Esboniad ar yr Hebreaid, gan McLean.

Am y gân oreu ar y gwahaniaeth eglur sydd rhwng ymgasgliad y Saint i Seion ag eiddo yr Iuddewon i Jerusalem. Gwobr gan gan Mr. David John Hwlffordd,—Yr Eurgrawn Ysgrythyrol.

Am y gân oreu ar Gwymp Babilon. Gwobr gan Mr. Charles Harmon, Llanelli,—History of the Highlanders. T. H.

---

Cloriau Traethodau.—Erbyn hyn deallwn y geill y Cynnadleddau Cymreig gael cloriau, &c., wedi eu hargraffu a'u gwnio wrth y traethodau Seisnig yn Liverpool. Am hyny, anfonant fanylion eu Cangenau, y rhif a eirchant, &c., yno i'w cael. Bydd eiseiu y manylion i'r cloriau Cymreig arnom ni yma yr un fath.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS,

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 24.] TACHWEDD 22, 1856. [CYF. IX.

## PREGETH,

GAN Y LLYWYDD B. YOUNG, BOWERY, MEHEFIN 22, 1856.

(*Parhâd o tud.* 361.)

Fe gyffyrddodd y brawd Joseph Young yn y boreu ag un egwyddor a ddymunaf lefaru arni, h.y., ein sefyllfa ddyfodol—dyfodolrwydd.

O bryd i bryd gadawa ein tadau a'n mhamau nyni, cyflwynir eu cyrff i'r bedd distaw; cymmerir ein prophwydi oddiwrthym; cymmerir ein cydymeithion ymaith; gadawa ein brodyr a'n chwiorydd y byd hwn.

Ymddarfydda y corfforiad a berthyn i'r bywyd hyn, â yn ddifywyd, nyni a'i gosodwn ef i lawr. Ymlyna glefyd yn ein plant, ac ânt hwythau.

Dywedais ychydig eiriau y Sabboth diweddaf ar yr egwyddor o serch, yn awr dymunaf ddweyd gair mewn perthynas i'n bywydau ar ol hyn; estynaf y sylwadau hyn tuhwnt i'n bodoliaeth yma yn y cnawd.

Deallwn, canys fe'i dywedwyd er ys hir amser, fod genym fodolaeth cyn dyfod o honom i'r byd. Daeth ein hysbrydion yma yn bur i gymmeryd y tabernaclau hyn; daethant i drigo ynddynt fel preswylfeydd, gyda'r ddealltwriaeth fod i'r oll ag oedd wedi dygwydd cyn ein dyfod yma gael ei gymmeryd oddiwrthym, nad oeddem i wybod un dim yn ei gylch.

Deuwn yma i fyw am ychydig ddiwrnodau, ac yna yr ydym wedi myned drachefn. Pa hyd mae y nefoedd seryddawg wedi bod mewn bodolaeth, nis gallwn ddweyd; pa hyd y parhant i fod, nis gallwn ddweyd. Pa hyd y bydd awyr, dwfr, daear; pa hyd y parhâ yr elfenau, yn eu cyssylltiadau presennol, nid yw i ni ddywedyd.

Dysg ein crefydd ni na fu amser erioed pan nad oeddynt, ac na fydd byth amser pan y peidiant fodoli; y maent yma, a hwy a fyddant yma yn dragywydd.

Rhoddaf i chwi ffigwr a gafodd y brawd Hyde mewn breuddwyd. Yr oedd efe wedi bod yn meddwl cryn lawer am amser a thragywyddoldeb; dymunai wybod y gwahaniaeth, eithr pa fodd i'w ddeall, nis gwyddai. Gofynodd i'r Arglwydd i'w ddangos, ac wedi iddo weddio am hyny, rhoddodd yr Arglwydd freuddwyd iddo, o leiaf credaf iddo, neu a chaniatâu mai felly y bu, modd bynag, cafodd freuddwyd, agorwyd ei feddwl fel y gallai ddeall amser a thragywyddoldeb. Dywed ei fod yn meddwl ei fod yn gweled ffrwd yn rhedeg allan o gwmwl niwlog a ymdaenai ar ei ddeheu a'i aswy, ac fod y ffrwd yn rhedeg heibio iddo, ac yn myned i'r cwmwl drachefn. Dywedwyd wrtho mai amser oedd y ffrwd, nad oedd lle o'r hwn y dechreuodd redeg, ac nad oedd terfyn i'w redegfa; ac fod yr amser a feddyliai efe am dano, ac yn llefaru am dano, yr hyn a allasai weled rhwng y ddau gwmwl, yn rhan o, neu yn un â'r un nas gallasai efe weled.

Felly y mae gyda chwi a minnau; yma y mae amser, pa le y mae tragywyddoldeb? Y mae gymmaint yma ag yw yn holl gyrhaeddiadau yr eangder; nid yw eangder cyfyngol o amser ond rhan o dragywyddoldeb.

Mae genym gyfnod byr o barhâd wedi ei benodi ini, ac ni a'i galwn yn amser. Bodolwn yma, mae genym fywyd o'n mewn; cymmerer y bywyd hwnw ymaith, ac fe beidia yr ysgyfaint a symmud, ac fe â y corff yn ddifywyd. A ydyw y bywyd hwnw yn darfod? Nac ydyw, parhâ i fodoli yr un modd ag y gwnaeth pan y symmudai yr ysgyfaint, pan y cynnaliwyd y corff naturiol ag awyr, ymborth, a'r elfenau yn mha rai yr oesodd, nid yw ond wedi ymadael â'r corff. Mae y bywyd, yr egwyddorion bywiocäol o hyd mewn bodolaeth, gymmaint felly ag oeddynt y ddoe pan yr oedd y corff mewn iechyd da. Yma cyfyd y gofyn-

fad yn naturiol, pan yr ymadawo ein hysbrydion a'n cyrff i ba le maent yn myned? Dywedaf wrthych. A wnaf fi eu cyflyru? Gwnaf os dymunwch i mi. Nid ydynt yn myned allan o gorfforiad y ddaear hon ar ba un yr oeswn. Darllenwch yn y Beibl fod yr ysbryd, pan ymadawo â'r corff yn myned at Dduw yr hwn a'i rhoddes. Yn awr dywedwch wrthyf yn mha le nid yw Duw, os gwelwch yn dda; nis gallwch. Pa mor belled y byddai genych fyned er myned at Dduw, pe dadwisgid eich hysbrydion? A fyddai genych fyned allan o'r bowery yma i gael Duw, pe byddech yn yr ysbryd? Os nad ydyw Duw yma, gwell fyddai i ni gadw y lle hwn er casglu y drygionus iddo, canys dymunant fod mewn lle nad yw Duw. Mae yr Arglwydd Hollalluog yma trwy ei Ysbryd, trwy ei ddylanwad, trwy ei bresennoldeb. Nid ydwyf fi yn ochr ogleddol y bowery yma, y mae fy nghorff yn ei ochr ddeheuol, ond cyrhaedda fy nylanwad a'm llais i bob rhan o hono; mewn dull cyffelyb y mae Duw yma.

Darllena fod yr ysbryd yn myned at Dduw yr hwn a'i rhoes. Caniatewch i mi wneuthur yr Ysgrythyr hon ychydig yn eglur ach; pan yr ymadawo yr ysbrydion â'r corff y maent yn mhresennoldeb ein Tad a'n Duw, maent yn barod y pryd hwnw i weled, clywed, a deall pethau ysbrydol. Ond yn mha le y mae byd yr ysbrydoedd? Y mae yn ymgynnwysedig o fewn i'r gyfundrefn nefolaidd hon? A ellwch chwi ei weled â'ch llygaid naturiol? Na ellwch. A ellwch chwi weled ysbrydion yn yr ystafell hon? Na ellwch. Meddyliwch pe cyffyrddai yr Arglwydd â'ch llygaid fel y gwelech, a allech chwi weled yr ysbrydion wed'yn? Gallech mor eglur ag y gwelwch gyrff yn awr, fel y gwnaeth gwas Eliseus. Pe ei caniateid, a phe ei ewyllys fyddai i hyny gael ei wneuthur, gallech weled yr ysbrydion sydd wedi myned o'r byd hwn, mor eglur ag y gwelwch gyrff yn awr â'ch llygaid naturiol; mor eglur ag y gwelodd y brodyr Kimball a Hyde yr ysbrydion digorfforedig drygionus hyny yn Preston, Lloegr. Gwelasant ddiafliaid yno fel y gwelwn y naill y llall; gallasant eu clywed yn llefaru, a deallasant yr hyn a ddywedasant. A allasent hwy eu clywed â'r glust naturiol? Na allasent. A allasent hwy weled yr ysbydion drygionus hyn â'u llygaid naturiol? Na allasent. Ni allasent eu gweled boreu drannoeth, pan nad oeddynt yn yr

ysbryd; ni allasent eu gweled y dydd blaenorol ychwaith, nac ar unrhyw amser arall; cyffyrddwyd â'u llygaid gan allu yr Hollalluog.

Dywedasant eu bod yn edrych trwy eu llygaid naturiol, a thybiwyf eu bod. Gwelodd y brawd Kimball hwynt, eithr ni wn a oedd ei lygaid naturiol yn agored ar y pryd ai peidio; dywed y brawd Kimball ei fod yn gorwedd ar y llawr ran o'r amser, a meddyliwyf fod ei lygaid yn nghau, ond efe a'u gwelodd, fel y gwnaeth y brawd Hyde hefyd, a chlywsant hwynt yn llefaru.

Gallwn ofyn yn mha le y triga yr ysbrydion ag y mae gan y diafol allu drostynt? Trigant mewn unrhyw fan, yn Preston, yn ogystal ag mewn llefydd ereill yn Lloegr. A ydynt hwy yn trigo yn rhywle arall? Ydynt, ar y cyfandir hwn; y mae yn llawn o honynt. Pe gallech weled, ac y cerddech dros lawer rhan o Ogledd yr America, gwelwch fyrddiynau ar fyrddiynau o ysbrydion y rhai hyny a laddwyd ar y cyfandir hwn. A welech chwi ysbrydion y rhai hyny a fuont mor dda yn y cnawd ag y gwyddent pa fodd i fod? Gwelech. A welech chwi ysbrydion y drygionus? Gwelech. A allasech chwi weled ysbrydion cythreuliaid? Gallech, a dyna yw yr oll sydd o honynt. Y maent wedi cael eu hamddifadu o gael cyrff, a gwna hyny i fyny eu mhelldith; hyny yw i ddywedyd, a lleferu yn ol dull dynion, cewch fod yn grwydriaid ar y ddaear, y mae genych fyw tuallan i'r drws cyhyd ag y byddwch fyw.

Dyna sefyllfa yr ysbrydion a ddanfonwyd i'r ddaear, pan gymmerodd y chwildroad le yn y nefoedd, pan gyfododd Lusiffer, Mab y Wawr Ddydd, ei fwrw allan. I ba le yr aeth efe? Daeth yma, a daeth y drydedd ran o'r ysbrydion yn y nef gydag ef. A ydych chwi yn tybied i'r drydedd ran o'r bodau a fodolent yn nhragywyddoldeb ddyfod gydag ef? Na ddaethant, ond y drydedd ran o'r ysbrydion a genedlwyd ac a gorfforwyd, ac a ddygwyd i ddyfod yn breswylyddion cyrff cnawdol i fyw ar y ddaear hon. Ymwrthodasant â Iesu Grist, yr iawn etifedd, ac ymunasant â Lusiffer, Mab y Wawr Ddydd, ac a ddaethant i'r ddaear hon; hwy ddaethant yma gyntaf. Mor gynted ag yr ymddangosodd ein mham Efa yn ngardd Eden, yr oedd y diafol gerllaw.

*(I'w barhau.)*

## DYFYNIAD O'R TRAETHAWD AR WIR EDIFEIRWCH.

1. Edifeirwch ydyw un o roddion Duw i ddyn syrthiedig. Ac wrth draethu ar y pwnc hwn, ymgymmerir ar gadernid Duw, fod dyn yn fôd syrthiedig, pechadurus, a cholledig ; wedi ei ddifreiniaw, a'i ddinystrio, a'i fwrw allan o bresennoldeb Duw ; yn ddarostyngedig i Ei gyfiawnder, digofaint, a chospedigaeth Ei gyfreithiau santaidd, pa rai a'i trosglwyddant ef i farwolaeth a thrueni tragywyddol ; ac y fod cynllun iachawdwriaeth wedi ei ddyfeisio a'i gynnyg iddo, i'w waredu o'i bechodau, a'i adferu i ffafr Duw. Un o ammodau y cynllun hwn yw, Edifeirwch gwirioneddol a phur.

2 Yr aberth mawr ac annherfynol; a wnaethwyd gan Fab Duw, dros bechodau y byd, a brynodd i ddyn y rhodd o Edifeirwch yr hon. os ei derbynir yn briodol, a rydd iddo hawl ar drugaredd Duw yn erbyn yr hwn y mae efe wedi pechu. Ond heb Edifeirwch, nis gall trugaredd gael dim hawl ar y pechadur.

3. Nid yw Edifeirwch yn rhoddi Iawn dros y pechodau a aethant heibio, nis gallasai ychwaith fod yn ammod maddeuant, pe na fuasai i Grist yr hwn oedd ddieuog fod wedi dyoddef dros yr euog.

4. Heb y Iawn, buasai Edifeirwch yn ddifudd ; ac nis gallasai trugaredd fod wedi cael ei harferu, heb wrthwynebu y briodoledd fawr o Gyfiawnder.

5. Nid amcan Iesu, yn rhoddiad Iawn dros bechodau y byd oedd, i gadw dyn yn ei bechodau ; nac i faddeu iddo mewn cyflwr anedifeiriol. Ond amcan y Iawn oedd i gynnyg trugaredd ar yr ammod o Edifeirwch. Am hyny, heb Edifeirwch, rhaid i ddyn ddyoddef cospedigaeth ei bechodau, yr un a phe na buasai Iawn wedi cael ei wneuthur.

6 Fel y gallo y pechadur gael eglur ddealltwriaeth am natur Edifeirwch, ni a ranwn y pwnc i bedair o gangenau, sef,

*Yn gyntaf,* Y *drygau* a'r *pechodau i edifarhau am danynt.*

*Yn ail, Natur y tristwch cyssylltiedig a gwir Edifeirwch.*

Y*n drydydd,* Y *cyffes angenrheidiol i'r edifeiriol.*

Ac *yn olaf,* Y*r addewid a'r penderfyniad i beidio pechu mwyach.*

7. Chwiliwn, Yn gyntaf, Y *drygau a'r pechodau i edifarhau am danynt.* Bôd cyfiawn heb fod wedi cyflawnu un pechod, nis

gall edifarhau ; ychwaith nis gall unrhyw un edifarhau yr hwn nid yw wedi ei argyhoeddi o bechod. Pechod yn erbyn Duw yw troseddiad o'r gyfraith. Dyn anadnabyddus a chyfraith Duw a all yn anwybodus ei throseddu, heb fod ganddo ddim amgyffred ei fod wedi gwneyd ar gam. Y cyfryw ddyn, tra yn anargyhoeddedig o bechod, ni themla un anghen Edifeirwch.

8. Heb wybodaeth ô gyfraith ddadguddiedig Duw, nis gall dyn bob amser wahaniaethu rhwng gweithredoedd da a drwg. Mae yn wir y bydd i'r goleuni yr hwn sydd yn mhob dyn a'r sydd yn dyfod i'r byd, i'w alluogi, heb gymhorth y gyfraith ddadguddiedig, i wahaniaethu, mewn rhyw radd fechan, rhwng da a drwg. Ond y mae llawer o ddrygau ag nis gallesid eu hadnabod yn fyr o gyfraith ddadguddiedig. Goleuni cydwybod a amlyga rai o'r drygau eglurach, ond y goleuni hwn a fawr dywyllir trwy esgeulusdod a thrwy halogiad parhaus o'r addysgiadau, yn gymmaint felly, ag y daw dynion braidd yn hollol annheimladwy i eirchion cydwybod, llawer o weithredoedd pa rai unwaith a ystyrid yn ddrygau, a gant, trwy arferiad parhaus, eu hystyried yn rhinweddol ; tra y bydd i lawer o ymarferiadau a ystyriwyd unwaith yn dda, trwy draddodiad ac arfer, i gael eu transffurfio i ddrygau. Pagan llwyr anadnabyddus a chyfraith ddadguddiedig, pe byddai iddo bob amser ddilyn llais dystaw main cydwybod, a dderbyniai fwyfwy goleuni, a byddai yn allu-og i gael allan lawer o wirioneddau dyddorol, ac i wahaniaethu rhwng rhinwedd a drygioni yn fwy eglur na y rhai hyny ag ydynt yn parhaus halogi y rhybuddiad o'u mhewn hwynt. Ond gyda'r holl oleuni a allai loffa, yn annibynol o ddadguddiad, byddai yn mhell o ddeall y pechadrusrwydd o lawer o weithred-oedd, a byddai yn hollol anwybodus o natur eraill, gyda golwg ar ba un a oeddynt yn bechadurus ai nad oeddynt, a byddai hefyd yn llwyr anhysbysedig gyda golwg o'r farn ddyfodol, a'r cospedigaethau sydd i gael eu rhoddi ar bechaduriaid ; ac heb wybodaeth o'r pethau hyn, nis gallai edifarhau yn gymmeradwy fel y mae yr Efengyl yn gofyn.

9. Lle nid oes wybodaeth o gyfraith ddadguddiedig Duw, ni chospir gweithredoedd pechadurus i'r unrhyw helaethder a'r lle ag y mae y cyfreithiau ar cospedigaethau yn adnabyddus; canys dywed yr Apostol, "Ni chyfrifir pechod pryd nad oes cyfraith." (Rhuf. x. 13.) Hyny yw, ni chyfrifir pechod i'r un helaethder,

ac ni chospir hwynt gyda'r un gerwindeb, a'r rhai hyny ag ydynt yn adnabyddus a'r gyfraith. Oddiyma, y mae y Gwaredwr yn traethu fod yr hwn sydd yn gwybod meddwl ei arglwydd ac heb fod yn ei wneuthur, a gurir a llawer ffonod; tra y mae yr hwn nad yw yn gwybod, ac eto yn gwneuthur pethau yn haeddu cospedigaeth i gael ei guro ag ychydig ffonodiau. Dywed yr Apostol hefyd. "Oblegid cynnifer ag a bechasant yn ddiddeddf, a gyfrgollir hefyd yn ddiddeddf; a chynnifer ag a bechasant yn y ddeddf, a fernir wrth y ddeddf." (Rhuf ii, 12.) Y paganiaid gan hyny, a gyfrgollir heb y gyfraith, ac a gurir ag ychydig ffonodiau, oherwydd nad ufyddasant i'r goleuni ag oedd ynddynt, ond cospedigaeth y gyfraith ddadguddiedig, nis gweinyddir yn gyflawn arnynt, a bydd yn fwy cymhedrol iddynt yn nydd y farn, nag i'r rhai hyny ag a bechasant, a chanddynt y gyfraith, a'r rhai ag ydynt i'w barnu wrth y gyfraith, a dedfryd y gyfraith i gael ei gweinyddu arnynt. Y cyfryw, heb Edifeirwch, a ddyoddefant dragywyddawl boenedigaeth ac alltudiaeth o bresenoldeb Duw. A hwy a gant alar, ac wylofain a rhincian dannedd.

10. Wedi dysgu fod dyn wedi ei argyhoeddi o bechod gan y gyfraith, gadawer i ni yn nesaf ymdrechu i sicrhau pa bechodau y mae y genhedlaeth hon yn euog o honynt, mewn trefn i ni i ddysgu pa un ai oes unrhyw anghen iddynt i edifarhau; ni a wnawn am y presennol. i fyned heibio pechodau y paganiaid, a chyfrif rhai o'r drygau sydd yn bodoli yn mhlith cenedloedd cristionogol lle y mae ganddynt adysgrifau o'r gyfraith ddadguddiedig yn bodoli wrth y miliynau, a lle braidd y gall pob teulu ddarllen y tudalenau cyssegredig o'r unrhyw.

11. Y gyfraith Ddwyfol sydd yn dywedyd "*Na ladd*". Yn awr nid yr un neillduol ag sydd yn llofruddio sydd yn unig yn droseddwr, ond yr holl rai hyny ag sydd yn noddi yr unrhyw. pan y llofruddiwyd y Saint yn Missouri ac Illinois gan fyddinoedd cyfrestredig y drygionus, y rhai a gymhellwyd yn mlaen gan awdurdodau uchelaf y Talaethau hyny, y mae yn ffaith nodedig fod miloedd o Gristianogion proffesedig, a llawer o weinidogion Cristianogawl gwahanol enwadau, wedi ymrwymo yn uniongyrchol yn y llofruddiaethau mwyaf drygionus ac erchyll hyn. Pan y cafodd Prophwyd mawr yr Arglwydd ei gymmeryd yn anghyfreithlawn o'i heddychawl alwedigaethau, a'i rwygo oddiwrth ei deulu, a'i gario, gyda nifer ereill, i mewn

i wersyllfa y terfysglu, a'i ddedfrydu i gael ei saethu y boreu nesaf, pwy ddarfu gadarnhau a dirgymhell yn mlaen y gweithredoedd dieflig hyn? Atebwn, mai yn mhlith y lluoedd helaeth o'r cyfryw rai ag na wnaethant un broffes o grefydd, nid oedd dim llai nâ DAU-AR-BUMTHEG o bregethwyr o wahanol raddau y rhai oeddynt yn y cynghor hwn, ac yn fwyaf ymegniawl wedi dirgymmhell oer-waed llofruddiad y Prophwyd a'i gyfeillion, yn ngwyddfod eu teuluoedd eu hunain ar y pelryal cyhoedd. A gafodd y pregethwyr hyn, a'r miloedd o broffeswyr crefydd y rhai a gymmerasant y fath ran fywiog yn mryntion lofruddiaethau y Saint, eu dadgymdeithasu gan eu brodyr yn hollol trwy y byd? Naddo, y maent etto, fwyaf o honynt, wedi eu cadw yn yr eglwysi neillduol i ba rai y perthynent. Ond ai y rhai hyny pa rai a fuont yn ddigyfrwng gyfranogawl yn yr erlidigaethau gwaedlyd hyn, fydd yr unig ddynion euog? Onid oedd cannoedd o filoedd yn y byd Cristianogawl, y rhai oeddynt yn eu calonau yn cadarnhau y pethau hyn, a pha rai ydynt etto yn parhau i'w cadarnhau hwynt? Ai y dynsoddau a gyflawnasant y llofruddiaethau rhain ac a dywalltasant waed yr unig brophwydi a anfonodd Duw i'r ddaear am fwy na mil o flynyddoedd, fyddant yr unig ddynion a gondemnir fel llofruddion yn nydd y farn? Nage. Pob dyn ag a ddarfu yn y mesur lleiaf gadarnhau y pethau hyn a ddyoddef gyda'r llofruddion, oddieithr iddynt edifarhau. Dywedodd y Gwaredwr y byddai i waed yr holl brophwydi yr hwn a dywalltwyd ar y ddaear, o ddyddiau Abel gyfiawn, hyd waed Zacharias, yr hwn a dywalltwyd rhwng y deml a'r allor, gael ei ofyn ar y genedlaeth hono. Paham? O herwydd eu bod wedi cadarnhau llofruddiaeth prophwydi cyfoediawg. Y gymmeradwyaeth a roddasant i lofruddiaeth y prophwyd Zacharias, a phrophwydi ereill a anfonwyd yn uniongyrchawl atynt, oedd yn un mor ddrygionus a phe buasent yn weithredawl wedi lladd yr holl rai gynt. Felly yr un modd, Duw a ofyn bob dynsawd ar y ddaear, y rhai y darfu iddynt yn y mesur lleiaf gadarnhau llofruddiaeth y prophwyd Joseph, neu neb o'r Saint, waed y dynion santaidd hyny ar eu dwylaw, ac nid yn unig eu gwaed hwynt, ond gwaed pob dyn cyfiawn a dywalltwyd ar y ddaear yn unrhyw oes, a ofynir ar ddwylaw y rhai hyny yn mhlith y genedlaeth hon ag ydynt yn rhoddi cefnogiad yn eu calonau i'r gweithredoedd drygionus.

rhain. Hwn, gan hyny, yw un o'r pechodau pa un yn mhlith ereill ag y mae caunoedd a miloedd yn euog o houynt, ac am ba un y mae yn rhaid iddynt yn y modd mwyaf calonog edifarhau, neu pe amgen bydd i waed y prophwydi a'r Saint esgyn i fyny i'r nef yn eu herbyn hwynt, ac yn nydd mawr y farn, hwy a dderbyniant eu rhan, nid yn unig yn mhlith rhagrithwyr ac anghredinwyr, ond yn mhlith llofruddion, gweithredoedd pa rai y darfu iddynt eu cadarnhau."

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

### DYDD SADWRN, TACHWEDD 22, 1856.

At y Saint,—Anwyl Frodyr a Chwiorydd,—Gyda phleser ac hyfrydwch mawr yr ydym yn gallu eich hysbysu am y bendithion mawr iawn a gwerthfawr a dderbyniodd Swyddogion a Saint, mewn amryw Gynnadleddau, trwy ymweliad y Llywydd Ezra T. Benson, yr hwn yw un o "feibion y daran," yn llawn o'r tân dwyfol, a'i fynwes megys yn llosgi o gariad at frodyr yn mhob man. Yr oedd ei lygaid megys ffynnonau o ddyfroedd wrth edrych dros gynnifer o filoedd yma yn hiraethu am eu cartref gwell ar Seion fryn, y rhai sydd wedi gorfod aros yma megys yn gloedig o eisieu modd. Ond ar ol hir ddysgwyl, awr ar ol awr, torodd y wawr gydag ymweliad yr Apostol Benson; dysgodd a dangosodd y ffordd fel y gall pawb i waredu eu hunain o gaethiwed Babilon, trwy i bob un i daflu i'r dry hon sydd newydd eu ffurfio dan yr enw "Trysorfa Geiniogol," ddim llai na cheiniog yn wythnosol, ond i fyny ky Dywedod mai dyna'r ffordd i ni wneyd o hyn allan, gan ddechreu yn awr.

Hefyd, gorchymynodd yr Apostol mewn modd pwysi teulu i gadw llyfr, a gosod arno yr hyn a roddo pob aelod o'r teulu i'r drysorfa gyfeiriedig yn wythnosol.

Etto, fod i'r brawd a benodir i gasglu yn y Gangen, i gadw

llyfr yr un modd, ac ysgrifenu arno yn ofalus yn ofn y Arglwydd, fel na fyddo i ddim fyned ar goll.

Hefyd gosoded pawb arian ei ympryd ar lyfr,—bydd yr oll i fyned at yr un dyben.

APWYNTIAD.—Apwyntiwyd yr Henuriad James J. Phillips i deithio yn ol cyfarwyddyd y Llywydd Thomas Harris, yn Nghynnadledd Orllewinol Morganwg.

D. DANIELS.

---

## GOLYGYDDION Y "GWRON" YN NGWRTHOL Y GWIR, A'R GWIR YN NGWRTHOL GOLYGYDDION Y "GWRON."

Ermyg Lywydd Daniels:—Yr hyn a barodd i mi anfon hyn o linellau atoch chwi fel Golygydd "Udgorn Seion" yw, a ganlyn:—

Darfu i mi yn ddiweddar ysgrifaw ac anfon llythyr i'r "Gwron," yn gyfeiriedig at y Golygyddion, ac yn adolygiadawl ar yr amryfal lythyrau ceintachlyd a ymddangosasant ynddo, oddiwrth ryw ddynionach llechwraidd ac anwadal—wedi bod yn rhyw hanner Saint ryw amser a fu: Y rhai a wnaethwyd yn gywilyddus yn eu gwisg argraffyddol, wedi bod dan ardrem gam y golygyddion lledochrawg wyredig,—lledrithiawl hocedus dan gochl malais,—cynllwynawl i dwyllo dynion yn fwriadawl i gredu celwydd; ac er tawlu lliw drwg ar y Saint, a hyny yn bwrpasol er cyffroi llid gelynion, ac er ennyn creulonder plant eu tad, i erlid a dyfetha plant y goleuni.

Gellid meddwl wrth eu dullwedd eu bod yn teimlo yn orddwfn dros rywbeth o bwys neu ddibwys. Ond erbyn i mi ddechreu codi cwr eu mhentyll, a dynoethi eu twyll. Dyna ni yn neidio, a thawlu, a gwylltio, a bwrw benau yn nghyd; na fu erioed sut wewyr, hawyr bach!

Cydiodd cynnwysiad gwirioneddau fy llythyr yn eu cydwybodau—gweithiodd trwy eu mhêr a'u hesgyrn,—eu giau a'u cnawd. A chan eu bod yn gyfarwydd a chynnefin â thwyll a chamwedd. Dyna ei barchedigaeth trochyddawl o Abardâr, a'i barchedigaeth taenellyddawl o Aberamman,—golygyddion y "Gwron," tra yn ymgydwybodol o ffeithiau anhydro fy llythyr, yn penderfynu ei hwtio draw, ei ddirgelu a'i wrthod, rhag i'r

gonest a'r didwyll i gael cyfle teg i farnu pleidgarwch penboeth y "Gwron" a'i olygyddion, a dyfod i'r goleuni am eu celwyddau gwneuthur, gwyrdrodedig a haerllug, am Saint y Dyddiau Diweddaf.

Pa beth yw eu hesgusawd dros hyn? Sylwed pawb byw. Wele! llyma fe—"Llythyr Dewi Elfed Jones, yn ddarlun cywir o'i awdwr." Ha, dyna wir o'u hanfodd. "Darlun gwahanol i'r eiddynt hwy—ïe, Lollawl. Mor dda genyf hyn o wir o eneuau y rhai ag ydynt yn arfer llefaru geiriau gorwagedd a chaledion am y Saint! *Well done.* Pa beth yn ychwaneg? Fy "narlun yn fy llythyr" wedi peri iddynt ollwng y "gath o'r cwd," yn hyfal i "gath barbwr yn llawn o wynt a ffroth." Darluniais o'r blaen yr "Exhibition" yn nghrombil y pregethwr," neu 'Sectariaeth yn y Fagl." Ni feddyliais y pryd hwnw fod yno gathau! Cato pawb!

Ond pan welsant fy "narlun" drachefn, yn ôl, a llun fy llaw, drwy ddu a gwyn. Gweithiodp a gwthiodd hyn allan o honynt, yn ol eu darlun eu hunain, ïe, daeth nerth a sylwedd eu hegwyddorion allan, yn gathaidd, yn wyntog, a llawn o ffroth. Ow! Ow! gweinidogion onite, wedi methu cael dim i wrthbrofi fy llythyr, yn methu dal dan bwys y gwirioneddau cynnwysedig ynddo heb gyfogi yn wrthwyneblyd ar "gath barbwr yn llawn o wynt a ffroth.

Pwy allasai feddwl rod parchedigion clodfawr (?) fel T. Price, Aberdar, &c., mor wan a llymsi—yn methu sefyll uwch ben gwirionedd, heb deimlo car yr ên yn dadgymmalu, a bwrw allan synwyr mor sylweddawl a "chath barbwr." Oni pheidiant a hyn, diau y delir hwy yn nydd eu gofwy, mewn cymdeithas â'r "dullhuan, adar y bwn, a chathod yn cydateb" o fewn parwydydd tai adfaeledig Babilon Fawr, pan y byddir yn ysgubo noddfa celwydd, ac yn difrodi llochesau y rhai a ymdroant yndynt.

Gallant fentro eu barfau, taw mewn hanner llewyg oeddynt, tra yn mharlwr T. Price, yn darsyllu yn frawychus ar fy "narlun I yn *fy* llythyr." gyda llygaid ymruthawl, bochau chwyddedig gan gnofa eu heuogrwydd am wrthod y gwir—ar ymbollti o lid a chyndaredd, yn erbyn y Saint. Ac o'r diwedd, wedi hir falu ewyn, orfod strellu allan, a chwythu bygythion ffrothawg yn rhith ".cath y barbwr," yn erbyn y sawl sydd trwy

rym gwirionedd yn tyny dan sail gobaith elw dysgawdwyr gau —gwag o rith duwioldeb—twyllwyr dynion, am y peth mwyaf bwys. Tebyg rhyfeddawl hefyd, i'r dull y byddant yn y *Preaching Match*, mewn trimis arfod, neu gymmanfa, dan effaith yr "hwyl" dan ddylanwad y *Black Prince*, "fel cath barbwr yn llawn o wynt a ffroth," yn poeri ffiloreg pregethwrawl ar draws y bobl, a bermanu ffroth gau athrawiaeth uwchben eu cynnulleidfaoedd.

O Price, Price! ai dyma yn y diwedd yw, mawredd nerth ac enaid eich crefydd! Taenu twyll o flaen eich cynnulleidfaoedd —rhwydo y diniwed â chelwydd am y Saint—gwrthod y gwirionedd gyda digter llidiog—gwneuthur marsiandiaeth o hanes gair Duw yn y dyddiau gynt—gwyro uniawn ffordd y gwirionedd, a throi ymaith eich clust rhag ei wrando, a gwneuthur marchnadfa o eich chwedlau gwneuthur eich hun ac ereill, a'r oll yn y diwedd, yn ol tystiolaeth eich genau halogedig eich hun, yn ddim gwell na "chath barbwr yn llawn o wynt a *wabling*."

Gwybyddwch y darostyngir eich balchder, yn eich tynged eich hun, yn ol eich haeddiant, fel carwr a choleddwr twyll a gwrthodwr haerllug y Gwirionedd—Edifarhewch ar frys, a throwch i le diogel gyda phenderfyniad i beidio a phechu mwy.

Minnau a gaf gyfle i anfon attoch gynnwysiad y llythyr gwrthodedig genych mewn dywig argraffyddawl, er mwyn y sawl a garant gael o hyd i'r Gwir, a chael y twyll a'r gau wedi eu llwyr ymlid ymaith oddiar wyneb, nid yn unig tir Gwalia, ond hefyd yr holl o'r ddaear; a gwybyddwch na'm dawr i yr un o honoch, y pethau bach, oblegid

Ffroth y farf yw eich arfau,
Dim o hyd—i gyd yn gau.

Yr Eiddoch, fel arfer,

DEWI ELFED JONES.

---

## LLYTHYR O'R PLAINS AT ISRAEL EVANS.

30 *Milltir Dwyrain o Laramie*, *Awst* 31, 1856.

Anwyl Frawd—Meddyliais y defnyddiwn yr ychydig fynydau amddeuol sydd genyf i ysgrifenu er eich hysbysu o lwyddiant y cwmpeini bychan hwn o Saint. Yr ydych yn ddiammeu wedi

clywed am ein mordaith lwyddiannus dros y cefnfor, a'n tiriad mewn iechyd oll, a'n cyrhaeddiad i Ddinas Iowa tua'r laf o Fehefin, gydag eithriad o ychydig blant a fuont marw ar y môr, ac wrth groesi y Talaethu.

Gadawsom Ddinas Iowa tua'r dydd diweddaf o Fehefin, 300 o honom mewn rhifedi. Teithiasom 7 neu 8 milltir y dydd cyntaf, a meddyliasom fod hyny yn eithaf gorchwyl. Wedi ini deithio am tua wythnos, aethom 10 milltir y dydd, yr hyn feddyliem oedd yn lawer; ond cyn i ni gyrhaedd i Winter Quarters gallasem deithio o 15 i 20 milltir y dydd mor hawdded ag y teithiem 7 neu 8 ar y cyntaf. Caled-waith oedd ar y cyntaf, o herwydd ein hir segurdod blaenorol.

Wrth ddyfod o Ddinas Iowa i Winter Quarters cawsom gryn ddihydliad. Pan wersyllem yn agos i sefydliad, deuai yr ymsefydlwyr atom a cheisient gael gan y Saint i aros, gan rhoddi pob cynnygion da iddynt os arosent, eu bod oll yn newynu yn y Dyffryn, &c. Wel, denasant rhai ymaith, ond yr oedd yn dda genym gael gwared o honynt. Yr oedd yn dda gan fy ngalon pan welais rhai o honynt yn aros, ac os oes neb ag ydynt yn Saint wedi aros, hwy a ddeuant yn mlaen etto pan gant eu gwala o'r Cenedloedd. Adgoffhäai y dygwyddiadau hyn fi o hanes y diafol yn cynnyg yr holl fyd i'n Hiachawdwr pan na feddai droedfedd o hono ei hun.

Cyrhaeddasom Winter Quarters Gorphenaf 19, mewn eithaf calondid ac iechyd da. Tra yr oeddem yn ymdrwsio allan yno, bu farw yr hen chwaer Brookes, ac, hefyd, y brawd David Davies, [gynt o Newton, Morganwg,] a chladdwyd hwynt yn monwent y Saint.

Gadawsom Winter Quarters Gorphenaf 30ain, oll yn iach a chalonog, yn 225 mewn rhifedi. Arosodd rhai o'r Saint ar ol yno, gyda chaniatad.

O Ddinas Iowa hyd Winter Quarters yr oedd genym dair pedrolfen, ac oddiyno yn mlaen, bedair, yn llwythedig â lluniaeth; heblaw hyn, yr oeddgan bob pabellaid (20) o bersonau gludo pedwar cant o flawd càn ar eu ceirt.

Gallwch weled mai ond am fis o amser yr ydym wedi teithio, a'n bod wedi gwneuthur yn agos hanner y daith. Penderfynwn gyrhaedd y Ddinas erbyn dydd Sadwrn, y 4ydd o Hydref, os Duw a'i mŷn, fel ag i fod yn barod erbyn y Gymmanfa.

Rhoddaf yma fy meddwl i chwi, a'r hyn a wn am gyfundrefn y llaw-geirt: yr ydwyf wedi teithio y wlad hon gyda cheffylau, ac ychain, ond ni wneuthum erioed mo'r daith mor gyflym ag y gwnaethom hi mor belled a hyn y tro hwn gyda y llaw-geirt. Gwn mai dyma y ffordd oreu a chyflymaf i'r Saint groesi y Plaine a'r Mynyddau, a phe gallai fod sefydliad bob 150 neu 200 o filltiroedd, ac y caffent eu diwalliadau o honynt, a darfod a'r pedrolfenni, gallent gludo eu lluniaeth gyda hwynt mor belled a hyny; gallent deithio yn gyflymach a hawddach, ac ni ofynent gymmaint o wylied: heblaw hyny, ni eill yr ychain deithio mor gyflym a dynion a benywod wedi yr ymgynnefinont a theithio.

Mae pob un o honom yn cael pwys o flawd y dydd, â llawer o dê a choffi yn ystod yr wythnos. Nid wyf yn cofio pa faint.

Lladdasom dri buffalo mawr, ac yr ydym wedi eu bwyto oll. Dydd Sadwrn diweddaf lladdasom fuwch dew rhagorol, ac mae genym 5 yn ychwaneg o eidionau i'w lladd. Bwriadwn ladd un bob wythnos, ar hyn, ac ar y buffalo a gawn ar y Sweet Water, byddwn byw yn wych. Heblaw lluniaeth arall mae gan y Cwmpeini 14 o wartheg llaethog, a chant eu llaeth. Gwelwch ein bod yn byw yn o dda; ond gwyddoch fod hon yn wlad mor degaidd a iachus fel y gallwn fwyta ein holl ddognau, ac edrych oddiamgylch am ychwaneg. Wel, yr ydym wedi clywed fod ychwaneg i ni ar ein ffordd, a pan y delo, cawn bwys a hanner neu ddau bwys yr un bob dydd.

Cyfarfyddasom â rhai brodyr y ddoe; dywedasant fod Brigham wedi cychwyn dwy bedrolfen yn llwythedig a chàn allan yr un diwrnod ag y cychwynasant hwy, sef yr 11eg o'r mis hwn, ac y bwriadai anfon allan 5 pedrolfen yn llwythedig a chàn bob wythnos i gyfarfod a'r ymfudwyr, hyd oni ddeallai eu bod oll wedi cael eu diwallu. Dysgwyllwn gyfarfod a'r blaenaf yn mhen tua wythnos.

Mae gwartheg llaethog, fel y gwyddoch, yn ein diwallu â'r lluniaeth goreu a mwyaf didrafferth a allem gael—nid oes genym ei gludo.

Prynodd yr Henuriad Bunker ddwy, a minnau un fuwch llaethog, er ein defnydd ein hunain, ac yr ydym wedi eu profi yn fendith fawr i ni, rhoddasom 25 doler yr un am danynt. Dywed y brodyr a gyfarfuasom y ddoe fod eu bod yn cael eu gwerthu yn y Dyffryn yn rhwydd am 40 doler yr un; felly y

mae elw y ddwy ffordd; ond yr elw mwyaf yw eu defnydd ar y Plains.

Y mae yn hwyrau, roddaf heibio ysgrifenu yn bresennol, a gorphenaf y llythyr yn, neu yn agos i Laramie.

*Medi* 2—Yr ydym o fewn ychydig filltiroedd i Laremie bwriadwn fyned heibio yno heddyw. Mae y gwersyll mewn llawn iechyd a chalondid.

Mae Cwmpeini D. D. McAllister tua 75 milltir tuhwnt i hwn, ac un E. Ellsworth tua 100. Yr oeddynt oll yn iach ychydig ddyddiau yn ol.

Anfona yr Henuriad Bunker ei gofion atoch chwi a'r brodyr Daniels ac Ashby. Mae efe wedi profi ei hun yn dad i'r bobl hyn: mae efe wedi cael ei arwain gan yr Ysbryd Santaidd yr holl amser: ymfalcheuaf yn nghaffael y fath ddyn yn Llywydd arnaf wrth groesi y Plains. Yr ydym wedi bod mewn undeb yn mhob peth, oddiar pan adawsom Ddinas Iowa.

Frawd Israel, yr ydwyf wedi myned trwyddi yn *first rate* oddiar pan yr ymadawsom yn Lerpwll. Yr ydwyf wedi teithio cymmaint a llwyddo gystal gyda y bobl hyn fel y bydd yn galed i ni ymadael.

Cofiwch fi at y brodyr Daniels ac Ashby, a'r *boys* oll. Dywedwch wrthynt fod D. Grant yn ymbesgi ac ymgryfhau wrth dynu y llaw-geirt.

Terfynaf, gan weddio ar i Dduw eich bendithio â phob bendith angenrheidiol, a eich casglu chwi, a'r rhai sydd gyda chwi idd eich cartref fynyddig mewn heddwch a diogelwch.

Eich cydlafuriwr yn Nheyrnas Dduw,

DAVID GRANT.

---

## ENWAU YR YMFUDWYR CYMREIG

*A aethant gyda y Llaw-geirt dros y Plains yn y Tymhor diweddaf.*

### PRIF GADBEN,

Edward Bunker.

#### CADBENIAID AR GANNOEDD

Y cant laf, David Grant: 2il, G. W. Davies: 3ydd, John Parry.

Y *Cant cyntaf*,—David Grant Thomas Rees, ei wraig, a 8 o blant Daniel Lewis Rees Llewellyn a'i wraig Daniel Tho-

mas, ei wraig, a'i fam Enoch Lewis, ei wraig, a 2 o blant W. J. Lewis, (Môn.) ei wraig, a'i chwaer hi Elias Lewis a'i wraig Mary Llewellyn a 4 o blant Henry Jenkins, (bu farw Awst 23.) Martha Jenkins a'i mherch Wm. James (71 oed) Elvira Thomas a'i mab Owen Jones Elizabeth Hughes Elizabeth Davies Thomas D. Evans, *Commissary for the Hundred.* Prscilla Evans John Cousins a'i wraig John Thayne a'i wraig James Morgans William Morgans Hannah Walters a 3 o blant John R. Roberts a'i wraig a 3 o blant Robert A. Roberts Elizabeth Lane John Davies David Davies, (bu farw Gorphenaf 24,) ei wraig, a 2 o blant, y rhai a aethant yn mlaen, John Butler a'i wraig Isaac Rees a'i wraig William Morgan a'i wraig David Evans Thomas Giles a'i fab Joseph:

Yr *ail Gant.*—G. W. Davies, a'i wraig John D. Roberts, (*Commissary,*) ei wraig, a 2 o blant John James, gynt o Sirhowy, (*Serjeant of Guards*) Sarah James Morgan Evans a'i wraig a'i blentyn Moses Evans a'i chwaer a 3 o blant. Margaret Rees Thomas Evans, ei wraig, a 5 o blant. Thomas Philllps, ei wraig, a 5 o blant William Jenkins, ei wraig, a 3 o blant David Lewis, ei wraig, a 2 o blant Abram Evans, ei wraig, a 6 o blant Nathaniel Evans, ei wraig, a'i blentyn David Evans, ei wraig, a'i fam John Parry (gynt o Aberdâr James Bridge John Edmunds Thomas Axton, ei wraig a'i blentyn Letitia Williams Thomas Morgan (Commissary) a'i wraig

Y *Trydydd Gant*—John Parry, diweddar Fugail dros Gynnadleddau y Gogledd, y Cadben, a'i wraig John Parry, Mariam, ei wraig, a 4 o blant John Williams, ei wraig, a 4 o blant Edward Parry a'i wraig William Jones, ei wraig, a'i blentyn David Roberts, (Commissary,) ei wraig, a 5 o blant Thomas Jones, Pantmawr, ei wraig, a 6 o blant Hannah Job, a'i phlentyn Richard Williams Sarah Walters Susannah Roberts M. N. Morris a'i wraig Thomas a John Jenkins Joseph Chappel ei wraig, a'i blentyn John Williams, ei wraig, a'i fam Samuel Brookes a 3 o'i blant, (bu Emma Brookes farw Awst 23.) William Edwards Hopkin Matthews, ei wraig, a 5 o blant Thomas Jarman, ei wraig, a 3 o blant Anne Butler, gweddw, a 2 o blant Owen Owens Margaret Jones Thomas Evans, Hen. Thomas Evans Ieu.—Rees Llewellyn, *Clerk.*

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 25.] RHAGFYR 6, 1856. [CYF. IX.

### PREGETH,

GAN Y LLYWYDD B. YOUNG, BOWERY, MEHEFIN 22, 1856.

(*Parhâd o tud.* 373.)

Ni ellwch roddi i unrhyw berson ei ddyrchafiad, heb iddynt wybod pa beth yw drwg, pa beth yw pechod, tristwch, a thrueni. canys ni allai un person ganfod, gwerthfawrogi, a mwynhau y dyrchafiad ar un egwyddor arall. Daeth y diafol, gyda y dryddedd ran o ysbrydion Teyrnas ein Tad yma o'n blaen ni, ac arosasom ni yno gyda ein cyfeillion, hyd oni ddaeth yr amser i ninnau ddyfod i'r ddaear, a chymmeryd tabernaclau; ond gwaharddwyd i'r ysbrydion hyny a wrthryfelasant fyth gael tabernaclau o'u heiddo eu hunain. Gallwch weled yn awr pa ham y maent bob amser yn ceisio cael meddiant o gyrff dynol; darllenwn am ddyn a feddiannwyd gan leng, ac yr oedd gan Mair Magdalen saith.

Gellwch yn awr weled pobl a llengau o ysbrydion drwg o'u mhewn ac o'u hamgylch; y mae dynion a gerddant ein heolydd sydd ag ychwaneg nâ chânt o gythreuliaid o'u mhewn ac o'u hamgylch, yn eu cynhyrfu i wneuthur pob math o ddrygioni. a rhai hefyd a broffesant fod yn Saint y Dyddiau Diweddaf, a phe cymmerech y diafliaid ymaith o'u mhewn ac o'u hamgylch, gadawech hwynt yn gyrff meirw; canys credwyf na adewid dim o honynt.



PRIS 1*g*.

Yr ydwyf am i chwi ddeall y pethau hyn, ac os bydd i chwi ddywedyd neu feddwl na wn unpeth am danynt, byddwch gystal a chael hyny allan a'm hysbysu innau. Gallwch weled gweithredoedd yr ysbrydion drwg hyn yn mhob lle, mae yr holl wlad yn llawn o honynt, mae yr holl ddaear yn fyw o honynt, ac y maent yn barhaus yn ceisio myned i mewn i dabernaclau yr hîl ddynol, ac wrth law bob amser i'n cynhyrfu i fyned allan o lwybr cyfyng ein dyledswydd.

Gwyddoch fod arnom eisieu cefnogwr ; pe gelwid un o honoch gan lywodraeth yr Unol Daleithiau i fyned tua'r Ellymaen, yr Eidal, neu unrhyw genedl dramor, fel cenadwr, pe na ddeallech yr iaith, byddai gan ryw un gyfieithu i chwi. Wel, mae yr ysbrydion drwg hyn yn barod i fod yn gefnogwyr i chwi. A ydynt hwy yn ein cymhell ? Ydynt, ac mi a allaswn roddi fy nwylaw ar ddwsin o honynt tra yr ydwyf wedi bod ar yr esgynlawr hwn; y maent yma ar yr esgynlawr. A allem ni ddim myned yn mlaen heb y cythreuliaid? Na, allem ni ddim myned yn mlaen hebddynt. Y maent yma, ac awgrymant y peth hyn neu'r peth arall.

Pan osodoch y tabernacl hwn i lawr, i ba le yr ewch? I fyd yr ysbrydoedd. A ydych chwi yn myned i fynwes Abraham? Nac ydych, ddim i un man yn agos yno, ond i fyd yr ysbrydoedd. Pa le y mae byd yr ysbrydoedd? Y mae yn union yma. A ydyw yr ysbrydion da a drwg yn myned yn nghyd? Ydynt, y maent. A ydynt oll yn preswylio yn yr un deyrnas? Ydynt. A ydynt hwy yn myned i'r haul? Nac ydynt. A ydynt hwy yn myned tuhwnt i derfynau y ddaear gofforedig hon? Nac ydynt. Dygir hwy allan ar y ddaear hon i'r dyben penodol o'i hetifeddu i bob tragywyddoldeb. I ba le arall ydych chwi yn myned? Ddim i un lle arall, ond fel eich caniateir.

Pan adawo ysbrydion dynolryw eu cyrff, nid oes wahaniaeth pa un a oedd y person yn brophwyd neu yr un gwaelaf a allech gael, i ba le yr ânt. I fyd yr ysbrydoedd. Yn mha le y mae? Yr wyf yn dywedyd wrthych. Am ysbryd Joseph, nid wyf yn gwybod ei fod ar hyn o bryd yn y bowery yma, ond sicrhaf i chwi ei fod yn agos at Saint y Dyddiau Diweddaf, yn prysur bregethu i'r ysbrydion yn ngharchar, ac yn darparu y ffordd i adferyd cenedloedd y ddaear, y rhai hyny a fuont fyw mewn

tywyllwch yn flaenorol i roddiad yr Efengyl ganddo yn y dydd iau hyn.

Y mae ganddo lawn gymmaint o waith ar law ag sydd genyf innau; y mae ganddo lawn cymmaint i wneuthur. Mae y Tad Smith, a Carlos, a'r br. Patridge, ïe, a phob Sant da arall, yr un mor brysur yn fyd yr ysbrydoedd ag ydych chwi a minnau yma. Gallant hwy ein gweled ni, ond ni allwn ni eu gweled hwy oddieithr yr agorir ein llygaid. Pa beth y maent yn wneuthur yno? Y maent yn pregethu, pregethu yr holl amser, ac yn darparu y ffordd i ni hwyluso ein gwaith mewn adeiladu temlau yma ac mewn manau ereill, ac i ddychwelyd i swydd Jackson ac adeiladu teml fawr yr Arglwydd. Maent yn prysuro i fod yn barod wrth yr amser ag y bydd ein brawd henaf yn barod.

Yr ysbrydion drwg a ymadawant oddiyma, ac a ânt i fyd yr ysbrydion, a ydynt hwy yn ddrwg yno? Ydynt.

Mae ysbrydion pobl a fuont byw ar y ddaear yn ol y goleuni goreu a feddent, y rhai oeddynt mor onest a chydwybodol ag y gallasai dynion a benywod fod, os buont byw ar y ddaear heb y fraint o'r efengyl a'r Offeiriadaeth a'i hallweddau, o hyd dan allu a rheolaeth yr ysbrydion drwg, i ryw raddau. Nid oes wahaniaeth yn mha le y buont fyw ar wyneb y ddaear, mae pawb dynion a benywod sydd wedi marw heb allweddau a gallu yr Offeiriadaeth, er y gallasent fod yn onest a chydwybodol, ac wedi gwneuthur pob peth a allasent, o dan ddylanwad y diafol, fwy neu lai. A ydynt hwy gymmaint felly ag ereill? Nac ydynt, O na. Cymmerwch y rhai hyny ag oeddynt ddrwg yn fwriadol, a fuont fyw yn hysbys o ac heb yr Efengyl pan yr oedd o fewn i'w cyrhaeddiad, y maent yn ymroddedig i'r diafol, maent yn offerynau i'r diafol ac yn ysbrydion cythreuliaid.

Ewch at yr amser pan y daeth yr Efengyl i'r ddaear yn nyddiau Joseph, cymmerwch y rhai drygionus ag ydynt wedi gwrthwynebu y bobl hyn a'u herlid i farwolaeth, ac y maent wedi eu danfon i uffern. Yn mha le y maent? Y maent yn fyd yr ysbrydoedd, ac y maent yn llawn mor brysur ag y gallant fod i wneuthur pob peth a allant yn erbyn y Prophwyd a'r Apostolion, yn erbyn Iesu a'i deyrnas. Y maent yn hollol mor faleisus yn eu gweithredoedd yn erbyn achos y gwirionedd ag oeddynt tra ar y ddaear yn eu tabernaclau cnawdol.

Aeth Joseph yno hefyd, ond a oes gan y diafol allu drosto? Nac oes, o herwydd ei fod yn dal allweddau a gallu yr Offeiriadaeth dragywyddol yma, ac iddo ennill y fuddygoliaeth tra yma yn y cnawd.

Cyn yr af yn mhellach, rhoddaf i chwi enghraifft. Anfonwch ddyn sydd gynnefin â mesmereiddio pobl, ac edrychwch os geill efe fesmereiddio Henuriad yn Israel, un ag sydd yn llawn o'r ffydd, neu chwaer ffyddlawn yn Eglwys Dduw. A allai La Roy Sunderland, un o'u prif gymmeriadau, fesmereiddio un o Saint y Dyddiau Diweddaf? Na allasai. Byddai cystal iddo geisio mesmereiddio yr haul yn y ffurfafen. Paham? O herwydd fod yr Offeiriadaeth arnoch, ac fe geisiai yntau eich mesmereiddio trwy allu arall sy'n llai.

Mae yr egwyddor o fesmeryddiaeth yn wirioneddol, ond fe'i defnyddir gan ddynion drwg i ddybenion drwg. Nid wyf erioed wedi dweyd llawer o'm barn wrthych am yr egwyddor fesmeryddol hon. Mae llefaru yn wir ddawn, ond mi a allaf lefaru er gogoniant i Dduw, neu er niwed i'w achos, a'm condemniad i fy hun, fel yr ewyllysiwyf; ac etto mae y ddawn o Dduw. Mae y ddawn o fesmeryddiaeth yn ddawn Duw, eithr defnyddia dynion drwg hi er hwyluso achos y diafol, ac hyny yn union yw y gwahaniaeth. Gallwch deithio drwy y byd a gwneuthur ymholiadau lle mae yr Henuriaid wedi teithio, ac ni ellwch gael enghraifft lle mae y diafol wedi ennill gallu dros Henuriad da a ffyddlon trwy y gallu hwn. Ni all ei wneuthur, canys deil Henuriad ffyddlon yr eglwys hon allweddau a gallu sydd uwch na'r cyfryw a ddefnyddir gan y rhai hyny a ânt oddiamgylch i ddarlithio ar fesmeryddiaeth, ac yn gweithredu ar bawb a ddeuant yn gymhwysiadol i'w hewyllys. Nid yw yr un gallu ganddynt a fedd Henuriaid ffyddlawn Israel, canys mae gan yr Henuriaid hyn yr Offeiriadaeth dragywyddol arnynt, yr hon sydd yn uwch, ac yn llywyddu ar bob gallu arall.

Pan â yr Henuriaid ffyddlawn sydd yn dal yr Offeiriadaeth hon i fyd yr ysbrydoedd, dygant gyda hwynt yr un gallu ac Offeiriadaeth a feddent tra yn y tabernacl marwol. Maent wedi cael y fuddygoliaeth dros allu y gelyn yma, o ganlyniad pan y gadawant y byd hwn, y mae ganddynt reolaeth hollol dros yr ysbrydion drwg hyn, ac ni allant gael eu cernodio gan Satan. Ond cyhyd ag yr oesant yn y cnawd, ni all un bôd ar

y ddaear hon, o hiliogaeth Adda, fod yn rhydd oddiwrth allu y diafol.

Pan dderfydd y rhan yma o'r ysgol, yr hon yn mha un y disgynwn islaw pob peth, ac yn dechreu ar y ddaear hon i ddysgu y gwersi cyntaf am ddyrchafiad tragywyddol, os byddwch wedi bod yn ysgolhaig ffyddlawn, ac wedi gorchfygu, os byddwch wedi dwyn y cnawd yn ddarostyngedig trwy allu yr Offeiriadaeth; os byddwch wedi anrhydeddu y corff, pan yr ymddattoda i'r ddaear, ac y rhyddheir eich hysbryd o'r gartref briddlyd, a oes gan y diafol unrhyw allu drosto? Ddim un gronyn.

Mae hyn yn fantais a ennilla y ffyddloniaid, eithr cyhyd ag yr oesant ar y ddaear, y maent yn ddarostyngedig i gernodion Satan. Mae Joseph a'r rhai hyny ag ydynt wedi marw yn ffydd yr efengyl yn rhydd rhag hyn; pe deuai terfysglu ar Joseph yn awr, mae ganddo allu i'w gwasgaru ag awgrym ei law, ac i'w gyru lle y myno. Ond a ydyw Joseph yn ogoneddedig? Nac ydyw, mae efe yn pregethu i'r ysbrydion yn ngharchar. Efe a ga ei adgyfodiad yn gyntaf o bob un yn y deyrnas hon, canys efe oedd y cyntaf a ddewisodd Duw i ddwyn allan waith y dyddiau diweddaf.

Nid yw ei swydd wedi cael ei chymmeryd oddiwrtho, nid yw ond wedi myned i lafurio mewn rhan o weithrediadau yr Hollalluog. Y mae o hyd yn Apostol, o hyd yn Brophwyd, ac o hyd yn gwneuthur gwaith Agostol a Phrophwyd; mae efe wedi myned un cam tuhwnt i ni, ac wedi ennill buddygoliaeth nad ydych chwi a minnau wedi ei hennill, etto nid yw efe hyd yn hyn wedi myned i mewn i'r deyrnas nefol, neu os ydyw, bu trwy orchymyn pendant yr Hollalluog, a hyny hefyd i ddychwelyd drachefn mor gynted ag y cyflawnid yr amcan.

*(I'w barhau.)*

---

## NEWYDDION O'R DYFFRYN.

*Swyddfa yr Hanesydd, Dinas y Llyn Halen Mawr*
*Awst* 30, 1856.

Y Llywydd Orson Pratt,—Anwyl Syr,—Cyrhaeddodd y llythyr-gerbyd dwyreiniol ar y 26ain o'r mis hwn, gan ddwyn

amryw lythyron oddiwrth ein cyfeillion yn Washington, a rhanau ereill o'r ddaear, gyda'r Star, y Mormon, ac amryw bapyrau ereill, y rhai a roddasant i ni newyddion cyffredinol y dydd, a daugosasant ini fod sefyllfa boliticaidd yr awyrgylch yn Washington yn bob peth ond llonyddwch a thawelwch. Ni chlywsom ond ychydig oddiwrth ein cwmpeini llaw-geirt, nac un o'r ol gwmpeini. Cyrhaeddodd Philemon C. Merrill a'i gwmpeini ar yr 16eg o'r mis hwn; mor belled ag y gallem ddeall yr oedd pob peth yn dda. Cefais ymweliad â Dr. J. Clinton, yr hwn oedd iach a chalonog.

Mae y tywydd wedi parhau yn sych oddiar pan yr ysgrifenasom o'r blaen. Mae ein cynheuaf llafur wedi cael ei gasglu, ac yn troi allan i fod yn llawer gwell cnŵd nag a allasem ddysgwyl, pan ystyriom y sychder; yr oedd y penau yn eithaf llawn, hyd y nod lle yr oedd y llafur mor fyr, fel yr oedd yn rhaid ei dynu, yr hyn sydd wedi bod gydag amryw erwau y tymmor hwn. Ymddengys ein cnŵd o yd yn eithaf da. Mae y cnŵd pytato wedi yn agos methu, rhedant fynychaf i'r gwreiddiau; ymddengys betys a gardd lysiau yn dda. Nid dyma ein tymmor a ddyg lawer o *beeches*, etto bydd cnŵd gweddol mewn rhai perllanau—y mae afalau gwych yn y perllanau.

Mae prenau afalau y Llywydd Young, rai o honynt, wedi eu llwytho, ac y mae ganddo gnŵd da o *beeches;* mae ei rawn winwyddau yn llwythedig, a meddyliwyf y caiff ddwy neu dair mil pwys o rawnwin y tymmor hwn.

Y mae yn amser cyffredin o iechyd yn y Diriogaeth hon, oddieithr y cwmpeini a ddaethant i mewn o'r Mississippi, y rhai a ddygasant y frech wen gyda hwynt, ond nid yw wedi lledaenu etto, a gobeithiwn na wna.

Cyrhaeddodd cwmpeini o Ddyffryn Carson ar yr 28ain o'r mis hwn, dywedant i Murray, yr hwn a dreiwyd am lofruddiaeth y gauaf diweddaf, gael ei ladd gan yr Indiaid, hefyd ddyn wrth yr enw Reddin.

Mae eich teulu chwi oll yn iach. Mae y brodyr Bates a Luke Johnson oddeutu cychwyn ar genadiaeth o tua un mis, gyda Seth M. Blair tua Ruby Valley, ar ymgyrch ymchwilgar i ago ffordd newydd i Ddyffryn Carson. Dysgwyliant gyfarfod â'r brawd Enoch Reese gyda chwmpeini o Ddyffryn Carson i gydweithredu â hwynt.

Mae ein cymdeithas Amaethyddawl a Gwneuthurawl yn gwneuthur eithaf ymdrech i hwyluso gwaith cartrefol yn y Diriogaeth hon, gan fod yr amser wedi dyfod pan y gwelwn ein bod dan yr anghenrheidrwydd o wneuthur, mewn mesur helaeth, yr hyn a ddefnyddiwn. Mae amrywiol Ddosparthiadau y Ddinas a'r Diriogaeth yn ffurfio cangenau cynnorthwyawl o'r unrhyw; gan fwriadu gwneuthur yr oll a allant er defnydd cartrefol.

Yn ystod y mis hwn anfonwyd Parley P. Pratt, ac ychydig ereill ar genadiaeth i'r Talaethau: Anfonir Thomas Bullock, Bernard Snow, a rhywrai ereill tuag Ewrop.

Deil y Gymdeithas Amaethyddawl a Gwneuthurawl eu ffair flynyddol ar y laf o Hydref, yn yr hon y bydd dangosiad o anifeiliaid, cynnyrchiadau amaethyddawl, offerynau amaethyddawl a garddwriaethawl, gwneuthuriadau, gwaith boneddigesau, peiriannaeth, a ffrwyth. Cymmer ymgais aredig le ar dir y Llywodraethwr yn agos i'r Ddinas, oddeutu amser y Gymmanfa. Fe roddir gwobrwyon i'r goreuon yn mhob dosbarth a enwyd; hefyd am y traethodau goreu ar amaethyddiaeth, garddwriaeth, afaloniaeth, a gwneuthuriadau cartrefol. Dysgwyliwn y bydd y ffair mor gymmaint a'r achlysur.

Mae y brawd Willes, y golygydd ysgolion Tiriogaethol, wedi dychwelyd o daith i'r gogledd, a mynega y canlyniadau daionus sydd yn tarddu oddiar gydweithrediad yr awdurdodau yn yr amrywiol sefydliadau; hefyd y sefydliad o ysgolion sabbothol, a ffurfiad cymdeithasau Llenyddawl.

Yn mhlith gwelliadau ereill yn y Ddinas, mae bedyddfan newydd yn cael ei hadeiladu, yn agos i'r cynnysgaeth-dŷ ar adran y Deml.

Yr eiddoch, &c.,

W. WOODRUFF.

---

## Y LLAW-GEIRT WEDI CYRHAEDD.

*Llythyr o'r Dyffryn at Mr. Jones Rhydygarreg-ddu, oddiwrth yr Henuriad T. C. Martill.*

*Dinas y Llyn Halen Mawr, Medi* 27, 1856.

Mr. Jones,—Anwyl Syr,—Cychwynodd fy anwyl gyfaill Henry Harries (Talog gynt) o'r Ddinas hon, dydd Gwener, y 10fed o'r mis hwn, ar genadiaeth i Gymru. Bum yn ei hebrwng am

oddeutu ugain milltir. Wrth ddychwelyd yn fy ol teimlwn yn debyg i aderyn wrth un aden, oblegid yr oedd yr undeb ag oedd rhyngom yn debyg i'r eiddo Caleb a Joshua. Y mae amryw genadon yn cyd-deithio ag ef, y rhai sydd wedi eu danfon ar genadiaeth i wahanol barthau o Loegr. Os cânt rwyddineb ar eu taith, tebygol y cyrhaeddant Liverpool oddeutu Nadolig.

Yr wyf yn sicr y bydd yn llawen gyda chwi ymweliad eich brawd â gwlad ei enedigaeth, ac y bydd yntau hefyd yn dra llawen o gael yr anrhydedd o ddyfod a chenadwri mor ogoneddus at ei geraint. Cysuraf finnau fy hun, gan obeithio (er fod ei ymadawiad yn anhyfryd i mi) y bydd yn fendithiol i lawer o'm cydgenedl.

Gweddiaf ar Dduw y bydd i chwi a'ch gwraig deilwng gael ffydd i gredu ac ufyddhau i alwadau y Gwaredwr, trwy y rhai a bregethant i chwi air y cymmod. Nid ar eich rhan chwi yn unig y mae fyngweddi, eithr ar ran pawb ag sydd yn dymuno gwneuthur ewyllys Duw.

Cyrhaeddodd cwmpeini o Saint o Loegr gyda LLAW-GEIRT yma y ddoe. Mawr oedd y llawenydd oedd o bob tu; yr oeddynt hwy yn dra llawen i weled y Dyffryn, a ninnau mor llawen a hyny i'w gweled hwy wedi cyrhaedd yn ddiogel gyda llaw-geirt, dros daith mor hirfaith.

Pan gafwyd gwybodaeth nad oeddynt yn neppell o'r Dyffryn, aeth y Llywydd Brigham Young, ac ereill o benaethiaid yr Eglwys, ynghyd â channoedd lawer o Saint, i'w cyfarfod oddeutu pymtheg milltir tuallan i'r Ddinas. Aeth allan hefyd lawer o filwyr i'w harwain i mewn, a cherddorion, y rhai a chwareuent y côr pres, gan eu blaenori i'r Ddinas. Cyn cyrhaedd o honynt eu gwersyllfan, yr oedd miloedd yn barod i'w derbyn. Croesawwyd hwynt â llwythi o fwydydd o amryw fathau, a ffrwythau braf, megys Peeches, Melons, &c. Dysgwylir cwmpeini arall i mewn yn mhen oddeutu pedwar diwrnod, y mwyrif o honynt o Gymru. Clywsom fod rhai o Sir Gaerfyrddin yn eu plith, sef John Edwards, Ffynnon-ddrain, ac Edward ei fab, a Thomas Jones o Llanelli, &c.

Afreidiol i mi roddi hanes y wlad i chwi, oblegid fod fy anwyl frawd Henry Harries wedi gwneyd hyny yn ei lythyrau ef, a'r hyn sydd etto heb ei ddweyd, gwna efe ei hysbysu yn well nag y gellir drwy gyfrwng papyr ac inc.

Dysgwyliaf lythyr oddiwrth Henry Harries cyn hir, ond ni fyddaf yn alluog ei ateb cyn y cyrhaedda Liverpool, oblegid ni fyddaf yn gwybod i ba le y cyfeiriaf ef.

Annerchwch fi yn garedig at Mrs. Jones a'r teulu, at eich tad ynghyfraith, a phobl Pantycendy a'r Posty. Pan gaffoch gyfle annerchwch fi at fy rhiaint, at fy ffyddlon frawd Daniels, yr hwn sydd yn llywyddu y Saint yn Nghymru; y mae ei wraig a'r plant, a'r Cymry yn gyffredin yn ei annerch. Annerchwch fi at Isaac Jones a'i deulu; byddai yn hyfryd iawn genyf gael cyfarch yr oll o Saint Caerfyrddin.

Nid oes genyf hamdden i ysgrifeni llawer yn bresennol: rhaid i mi ymweled a'r Cymry sydd wedi cyrhaedd yn ddiweddar. Fe fydd yn dda genyf gael llythyr oddiwrthych.

Yr eiddoch yn barchus,

T. C. Martill.

---

O.Y.—Yr oeddwn yn meddwl ysgrifeni at y Llywydd Daniels, eithr nid oes amser genyf; gan hyny, byddwch cystal â danfon y llythyr uchod i Swyddfa'r Udgorn, Abertawy, efallai y bydd yn dda gan rai i glywed fod y Llaw-geirt wedi cyrhaedd yma yn ddiogel.—T. C. M.

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, RHAGFYR 6, 1856.

## APWYNTIADAU LLYWYDDION AR YR EGLWYS YN NGHYMRU AM Y FLWYDDYN 1857.

Rhyddheir yr Henuriaid Israel Evans, Benjamin Ashby, Thomas Harris, William Jones, Thomas Jones, Griffith Roberts, a Thomas Rees o'u gwahanol lywyddiaethau.

Apwyntir yr Henuriaid William Miller a James Taylor i olynu yr Henuriaid Israel Evans a Benjamin Ashby yn Gynghorwyr i Lywydd y Genadiaeth.

Apwyntir yr Henuriad John Davies. gynt o Feirion, i olynu yr Henuriad Thomas Harris, gynt o Dre-Sior, yn lywyddiaeth Cynnaddledd Orllewinol Morganwg.

Apwyntir yr Henuriad Thomas Rees, Sir Fflint, i olynu yr Henuriad Wm. Jones yn lywyddiaeth Cynnadledd Caerfyrddin.

Apwyntir yr Henuriad Joseph Griffiths i olynu yr Henuriad Thomas Jones yn lywyddiaeth Cynnadledd Sir Aberteifi.

Apwyntir yr Henuriad Hugh Evans, New Market, i olynu yr Henuriad Griffith Roberts yn lywyddiaeth Cynnadledd Sir Ddinbych.

Apwyntir yr Henuriad David John, Sir Benfro, i olynu yr Henuriad Thomas Rees yn lywyddiaeth Cynnadledd Sir Fflint.

Bydd yr Apwyntiadau uchod mewn effaith ar y cyntaf o Ionawr nesaf. Aed y brodyr apwyntiedig i'w maesydd llafur newyddion yn brydlon. Ymdreched y brodyr a ryddheir i drosglwyddo pob cyfrifon a phob peth yn y modd cywiraf, egluraf, a mwyaf dealladwy a allant, a bydded i'w holynwyr fod yn fanwl i weled fod pob peth yn iawn. Mae y Llywyddion ereill i barhau fel y maent.

Mae holl Lywyddion y Cynnadleddau yn Nghymru wedi bod yn ffyddlawn a diwyd yn ystod y flwyddyn sydd ar derfynu; a thrwy eu hymdrech hwy, a'r Saint teilwng a wrandawsant ar eu llais, mae yr Eglwys wedi cynnyddu ac ymgryfhau mewn egwyddorion, gwybodaeth, gweithredoedd canmoladwy a mawreddog, ac hefyd mewn rhifedi.

Duw Israel a lwyddo y brodyr ffyddlon a ryddheir i ymfudo, a thrwy eu gostyngeiddrwydd a'u parodrwydd i wrando ar lais Duw fe'u gwelir yn filwyr dewr yn ei deyrnas yn Seion etto.

Cofier am y Cynnrychioliad Blynyddol, y Drysorfa Ymfudol, a'r Deml yn brydlon.

D. Daniels.

---

Traethodau Newyddion.—Y mae yr ail draethawd, sef "Gwir Edifeirwch" yn awr yn y Wasg. Mae y cyntaf, sef "Gwir Ffydd," cyn hyn yn nwylaw ein darllenwyr. Gosodwyd pris mor rhâd arno, ar ddymuniad y Llywydd Pratt, fel na wna neb emawr fwy nâ thalu am ei ddefnyddiau a'i argraffiad, er i'r Saint Cymreig wneuthur cyffelyb ymdrech tuag ato o'u tu hwythau. Gan na argraffir, ond tua un, neu lai, gogyfer â

phob aelod Cymreig, meddyliwn y bydd yn hawddach i'r Cynnadleddau dalu am danynt. Ei bris i'r dosbarthwyr yw dwy geiniog y rhifyn, a dim elw, ond fod y Cynnadleddau i'w digolledu am gludiad a thraul. Dysgwyliwn dâl cyflawn yn ol, erbyn, neu cyn y delo y rhifyn canlynol allan, fel na fethom i gyflawni y gwaith. Oddiwrth Gynnadleddau gweinion ymdrechwn wneuthur yn ol y tâl o geiniog a dimau y rhifyn, ac i aros am y gweddill. Os cydweithiwn bydd bendith Duw arnom, a'r gonestion eu calonau yn heidio i'r Eglwys wrth ein goleuni, ar ol i ni ei ddwyn atynt. Deallwn fod ymdrechiadau canmoladwy yn cael eu gwneuthur i draethodu, yn neillduol yn y Gogledd—y chwiorydd, hyd yn hyn, yn cario y dydd ar y brodyr, yn enwedig gyda'r traethawd "Priodas a Moesau Utah." Meddyliwn fod y Drysorfa Draethodol ar waith yn ei grym erbyn hyn. Anfoner yr arian traethodau i fewn ar wahan.

---

TRAETHODAU YN EISIEU.—Dymunwn wybod yn ddioed gan ein dosbarthwyr, pa fathau a pha nifer o draethodau Cymreig a allant ddychwelyd i'r Swyddfa, o herwydd fod yma eisieu tua 100 o bob math, oddieithr ychydig o draethodau John Davis.

---

AT DDOSBARTHWYR.—Dymunwn ar Ddosbarthwyr y Cynnadleddau i anfon y sypynau llyfrau i ddosparthwyr y Canghenau gyda brys, fel y gallo ein cynghorion trwy yr UDGORN i gael eu dwyn i weithrediad yn brydlawn. Frodyr Llywyddol y Cynnadleddau, dyfeiswch y ffordd oreu at hyn, a bydd i fwy bendith ddilyn.

---

## AML-WREIGIAETH GYNT YN MHLITH Y CYMRY.

(Allan o'r "*Modern Universal British Travilier*," tud. 671)

GERLLAW Aberffraw y mae pentref bychan, yn nodedig am ei fod yn le genedigol Dafydd ab Howell ab Iorwerth, yr hwn oedd yn byw ynddo yn y flwyddyn 1580, er iddo farw yn fuan wedi hyny, ac yr oedd y pryd hwnw yn 105 mlwydd oed. Yr oedd ganddo dair gwraig a dwy ordderchwraig. Yr oedd rhifedi ei blant a genedlodd yn gyfreithlon yn un ar-bymtheg-

ar-hugain; o eiddo ei ordderchwragedd, saith. Yr oedd gan ei fab hynaf, Griffith ab Gwilim, yr hwn oedd yn 84 mlwydd oed, nifer fawr o blant ac wyrion; yr oedd ei fab ieuangaf yn ddwy flwydd oed; yn byw yn yr un plwyf, ac yr oedd 82 mlwydd o wahaniaeth rhyngddo ef a'i frawd. Yr oedd oddeutu 88 o bersonau wedi disgyn oddiwrth yr hen wr, ac yn fyw yn yr un amser ac yn yr un lle; a dywedir fod yn nghylch 300 o bersonau o gwbl wedi disgyn oddiwrtho, a'u geni yn ei amser ef. Yr oedd o gorffolaeth bychan, o wedd dda, ac anaml yn cael ei flino gan unrhyw anhwylder, yn gymhedrol mewn ymborth, yn byw wrth lafurio, ac yn arfer ei hun yn aml mewn pysgota a hela. Parhaodd ei glyw, ei olwg, ac yn wir ei holl synwyrau, yn hollol hyd oddeutu awr cyn ei farwolaeth.

---

## Y DRYSORFA YMFUDOL BARHAUS.

Tôn—"*Adêryn pur.*"

Yr olwyn fawr dragwyddol ddaeth<br>
I droi y caeth i ryddid,<br>
Ac yn ei mynwes gynhes hi—<br>
A llu o warth i wynfyd;<br>
Y Drysorfa a ymfuda<br>
Ei hanwyliaid i ddiangfa,<br>
Cymmer ddynion draw i Seion,<br>
I'r wlad ddedwydd—lle mae digon<br>
O bob amrywiaeth, a wna ddyn<br>
Yn un wrth fodd ei galon.

Trysorfa Ymfudol a Pharhaus<br>
Ffurfiwyd trwy lais y Cynghor,<br>
Ac a ddadguddiwyd gan ein Tad,<br>
Er lles pob gwlad a goror;<br>
Pwy ddaioni ga'i ein dysgu,—<br>
Areithio nerthol a phregethu,<br>
Heb fawr ofalon Iôr yr awrhon,<br>
Trwy y Drysorfa at y tlodion;<br>
Mae hon yn rhoi y ffordd yn rhydd<br>
I'r Saint i fynydd Seion.

Holl ddyben rheoleiddiad hon,
  Sy'n ddigon amlwg ini,
Mae at waredu dynolryw,
  I'w cartref gwiw er llechu,
Tra bo llidiawgrwydd erch yr Arglwydd,
Yn aflonyddu gydag aflwydd,
Dros y ddaear yn ei ddigter,
Ar yr anufydd fyd ac ofer,
Tra fyddo teulu Duw bob un
  Yn llon eu llun mewn llawnder.

Pan ddaw rhyfeloedd blin eu bloedd,
  Ar g'oedd trwy gyrau'r ddaear,
Ceir gwel'd y Saint yn llawen oll,
  Heb un mewn coll na phryder;
Gwybod beunydd mae yr ufydd,
Fod yr Arglwydd yn waredydd,—
Bod Trysorfa a wareda,
Ac y cânt fyned yn ei chôl,
  Heb un yn ol mewn dalfa.
Bydd y Drysorfa hon cyn hir,
  I'r byd yn ddirfawr syndod,
Gwaredir miloedd mewn un dydd
  Pan fyddo'r wasgfa'n dyfod;
Fe fydd miloedd draw ar filoedd,
O bob llwyth ac iaith a phobloedd,
Gwedi eu casglu o drueni,
Trwy offerynoliaeth hon ei hun,
  Dan nawdd ein brenin Iesu.

Mae miloedd gwedi myned draw,
  Trwy gymhorth llaw'r Drysorfa,
I'w hetifeddiaeth hafaidd glyd,
  O ddrygfyd Babilonia;
Nid oes gallu er mynegu
Y nifer allai hon eu casglu,
Ond cael undeb a ffyddlondeb
I gydweithio mewn doethineb,—
Fe fyddai'n gwaith yn wyrth i'r byd,
  Ond rhoi yn nghyd ein dewrdeb,

Pob ffyrling roi'r yn ngofal hon,
Sy'n union ar weithrediad,
Nid hir bydd neb yn teimlo gwerth
Yr aberth o'i chynnaliad;
Rho'wn yn ebrwydd fraich ac ysgwydd,
I gydweithio gyda'r Arglwydd,
Trwy ymdrechu a'n holl egni,
Gyda'n gilydd nes ei llenwi,—
Mae lle i bawb roi cymhorth llaw,
I'w hwyliaw mewn haelioni.

*Cap Coch.* J. P. PROSSER.

---

## EISTEDDFOD Y SAINT.

AT FEIRDD A LLENORION Y SAINT, A'U CYFEILLION TRWY GYMRU BENBALADR.

AT y rhifres o destunau a gwobrwyon a ymddangosodd yn yr UDGORN o'r blaen, dymunaf roddi y rhai canlynol etto. Er nad oes ond amser byr cyn dydd yr Eisteddfod (Nadolig), etto mae gan y beirdd yr un chwareu teg.

Am y cyfieithad goreu o'r gân "*Dear Zion*," a gyhoeddwyd yn y *Star*, rhif. 22, o'r flwyddyn hon. Gwobr gan Mr. Israel Evans, "Voice of Warning."

Am y gân oreu i'r Drysorfa Geiniogol, dim llai nâ 10 pennill. Gwobr gan Mr. Israel Evans, "Spencer's Letters."

Am y gân oreu i'r Degwm, yn Seisnig, dim llai nâ 10 pennill. Gwobr gan Mr. John Jones, gynt o Brycheiniog, "Voice of Warning."

Am y gân oreu ar Amlwreigiaeth, dim llai na 10 pennill, ar y mesur "*Pop goes the Weasel.* Gwobr gan Miss Eleanor Ellis, Machynlleth, "Harp of Zion," a phum swllt gan Mrs. Margaret Davies, Cwmafon.

Am y gân oreu ar yr Anghenrheidrwydd o i ddynes ddewis dyn cyfiawn yn briod ac amddiffynwr. Gwobr gan Miss Cathrine Ellis, Machynlleth,—Llyfr Hymnau.

Am y Pedwar Hir a Thoddiad goreu o ganmoliaeth i Lywyddiaeth yr Eglwys yn y Dywysogaeth Gymreig. Gwobr gan Miss Cathrine Arthur, Machynlleth,—Llyfr Hymnau Seisnig,

—a Chyfrol o Udgorn Seion, wedi ei rhwymo, gan Mr. Emrys Davies, Cwmafon.

Am y gân oreu ar yr Ymdrech a wnaed o bryd i bryd i bregethu yr Efengyl yn Nghynnadledd Meirionydd. Gwobr gan Mr. John Treharne, Meirionydd,—Corff (y farwolaeth) o Dduwinyddiaeth.

Am y gân oreu ar Deimladau y Saint a ymfudodd tua Seion gyda'r Llaw Geirt. Gwobr gan Mrs. Martha Jones, Cwmafan, —Pum swllt.

Am y gân oreu i Lywyddiaeth Cynnadledd Orllewinol Morganwg. Gwobr gan Mr. Hopkin Jones, Aberafan, Llyfr Mormon, wedi ei rwymo.

Dymunir ar yr ymgeiswyr i ddanfon eu cyfansoddiadau i mewn yn ol y cyfarwyddiadau a roddwyd o'r blaen.

Dymunwn ar y sawl a ewyllysiant gymmeryd rhan yn ngwaith cyhoeddus y dydd i ddanfon eu henwau i fewn yn flaenorol, yn nghyd ag enwau y testunau a ewyllysiant areithio, canu, adrodd, neu ymddadleu arnynt. Mae yn dda genyf hysbysu fod amryw wedi danfon i fewn eisoes, ac y mae pob arwyddion y caiff y presennolion ddiwrnod wrth eu bodd. Bydd amryw frodyr dyeithr yn bresennol, ac yn mhlith y cyfryw, ein galluog frawd John Jones, gynt o Brycheiniog.

Cyfarfodydd yn dechreu am 10 yn y boreu, 2 prydnawn, ac am 6 yr hwyr. Tocynau am 6c yr un.

Yr eiddoch yn gywir,

THOMAS HARRIS.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

MAE yr Henuriad Thomas Thomas, gynt o Llanelli, Sir Gaerfyrddin, wedi dychwelyd ar genadiaeth i Gymru o Ddyffryn y Llyn Halen Mawr, mewn iechyd ac ysbryd da. Medda lythyrau cymmeradwyaeth oddiwrth y Brif Lywyddiaeth, a Llywyddiaeth yr Ynysoedd Prydeinig, ac apwyntiad i lafurio yn Nghymru. Croesaw iddo. Mae y maes yn eang, a mawr anghen llafurwyr diwyd. Duw a'i nertho i fod yn fendith i'r Saint lle bynag yr elo. Derbynier ef fel gwas i Dduw.

MAE araeth y Llywydd Benson, yn Abertawy, yn rhy faith

i'w gosod yn ein cyfrol hon. Daw allan yn y rhifyn cyntaf o'r gyfrol nesaf.

DYWED llythyr oddiwrth yr Apostolion George A. Smith ac Erastus Snow yn y "Mormon," dyddiedig, Hydref 21, 1856, iddynt fod yn ymweled â'r Saint Cymreig yn Caseyville, Illinois. Yr oedd yr Henuriaid W. M. Lewis a Walter Roach yn eu cyfarfod yn Ngorsaf y Reilffordd. Yn yr hwyr, eisteddodd tua 60 neu 70 o'r brodyr i wledda ar swper. Yna cafwyd caniadau ac annerchiadau Cymreig gan y Cymry, ac yn Seisnig gan yr Apostolion. Terfynodd y cyfarfod am 11eg o'r gloch y nos. Ar ol hyny, aeth yr Apostolion i mewn i weled y gweithiau glô.

YN hanes Cymmanfa hanner Flynyddol St. Louis, darllenwn enwau amryw o Henuriaid a fuont gynt yn Nghymru. Perthyna William Henshaw, (sefydlwr yr Eglwys yn Nghymru) i'r Uchel Gynghor, a Robert Humphries yn Esgob. Anfonwyd Henry Lewis ar genadiaeth i Iowa i lafurio yn mhlith ei gydwladwyr Cymreig; gosodwyd y br. Roach, i'w olynu yn lywyddiaeth Cangen Gymreig Caseyville.

MAE peth ymdrech wedi cael ei wneuthur i wneuthur sefydliadau newyddion ar hyd y Plains. Pan ddelo yr amcan i ben, mae'n ddiammeu y bydd i drallodion Babilon wneuthur i rhai a allasent fod wedi myned yn gysurus tua Seion lawenhau am y cyfleusdra i fyned yn droednoeth, a'u bwyd ar eu cefnau.

---

DERBYNIADAU AM LYFRAU O HYDREF 23 HYD RHAG. 3.—Thos. Stephens, Merthyr, £7 11s 6c; W. Jones, Caerfyrddin, £1 5s; G. Roberts; 8s; C. Harman, £4 8s 3c; Thos. Rees, £1; Wm. Ajax, £3 3s; John Jones, 16s; John Davies, £1 10s; John Treharne, £1 7s 4c.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 26.] RHAGFYR 27, 1856. [CYF. IX.

## PREGETH,

GAN Y LLYWYDD B. YOUNG, BOWERY, MEHEFIN 22, 1856.

(*Parhâd o tud. 373*)

NI eill un dyn fyned i mewn i'r deyrnas nefol, a chael ei goroni â gogoniant nefolaidd, hyd oni chaffo ei gorff adgyfodedig; ond y mae Joseph a'r ffyddloniaid ag ydynt wedi marw wedi ennill buddygoliaeth dros allu y diafol yr hon nid ydych chwi a minnau wedi ei hennill etto. Cyhyd ag yr oeswn yn y tabernaclau hyn, cyhyd y byddwn ddarostyngedig i demtasiynau a gallu y diafol; eithr pan eu gosodwn i lawr, os byddwn wedi bod yn ffyddlon, byddwn wedi ennill y fuddygoliaeth mor belled; ond hyd y nod wedi hyny ni fyddwn wedi ymflaenu mor belled ag i fod tu hwnt i gymmydogaeth ysbrydion drwg.

Nid yw y drydedd ran o luoedd y nef a fwriwyd allan wedi cael eu cymmeryd ymaith, o leiaf nid ydynt drwy wybodaeth i mi, ac y mae gan y ddwy drydedd ran arall ddyfod i gymmeryd cyrff, bob un o honynt nad ydynt wedi ac a ydynt i gael y cyfleusdra o ymddarparu i adgyfodiad a dyrchafiad gogoneddus, cyn y darfyddwn a'r byd hwn; a bydd i'r rhai a fyddant ffyddlawn yn y cnawd i ofyniadau yr Efengyl ennill y fuddygoliaeth ar yr ysbrydion na chaniateir i gymmeryd cyrff, pa ddosparth a gynnwys y drydedd ran o luoedd y nef.



PRIS 1*g*.

Cystuddir y rhai hyny ag ydynt wedi marw heb yr Efengyl gan yr ysbrydion hyn yn barhaus, y rhai ddywedant wrthynt,—"Na ewch i glywed y gwr Joseph Smith yna, neu David Patton, na neb o'u cydymeithion yn pregethu, canys twyllwyr ydynt."

Mae ysbrydion yr un mor gyfeillgar ag ysbrydion ag ydyw cyrff â chyrff, er fod yr ysbrydion yn gynnwysedig o ddefnydd mor anarw fel ag i beidio a bod yn deimladwy i'r corfforiad mwy garw hwn. Maent yn cerdded, yn ymddyddan, ac mae ganddynt eu cyfarfodydd; ac mae ysbrydion dynion da fel Joseph, a'r Henuriaid ag ydynt wedi gadael yr Eglwys hon sydd ar y ddaear am dymmor i weithredu mewn cylch arall, yn ymgrynhoi eu holl alluoedd, ac yn myned o le i le i bregethu yr Efengyl, a Joseph yn eu cyfeirio, gan ddywedyd, Ewch yn mlaen fy mrodyr, ac os cauant eich ffordd i fyny, cerddwch i fyny a gorchymynwch hwynt i wasgaru. Y mae genych yr Offeiriadaeth, a chwi a ellwch eu gwasgaru, eithr os ewyllysia neb o honynt glywed yr Efengyl, pregethwch iddynt.

A allant hwy eu bedyddio? Na allant. Pa beth allant hwy wneuthur? Gallant bregethu yr Efengyl, a phan y caffom y fraint o adeiladu Seion i fyny, daw yr amser i iachawdwyr ddyfod i fyny ar Fynydd Seion. Llefarodd fy mrawd Joseph am yr egwyddor hon y boreu hwn. Daw rhai nad ydynt mewn marwoldeb, a dywedant, Dyma fil o enwau ag y dymunaf i chwi ymwneyd â hwynt yn y Deml hon, a phan y gorphenoch gyda rhain, rhoddaf fil arall i chwi, a bydd gan Henuriaid Israel a'u gwragedd weinyddu dros eu hachau, y dynion dros y dynion, a'r benywod dros y benywod.

Dyn a ordeinir ac a dderbynia ei olchiadau a'i eneinniadau dros y rhan wrrywaidd o'i achau ef ac eiddo ei wraig, a'r wraig dros y rhan fenywaidd.

Yna yn myd yr ysbrydoedd dywedant,—Onid ydych chwi yn gweled rhywun ar waith drosoch? Cofus gan yr Arglwydd am danoch: dadguddiodd i'w weision ar y ddaear yr hyn sydd i'w wneuthur drosoch.

A ydyw byd yr ysbrydoedd yma? Nid yw tuhwnt i'r haul, eithr y mae ar y ddaear hon a gorfforwyd i'r bobl ag ydynt wedi oesu, yn oesu, ac a oesant arni. Ni eill unrhyw bobl ei chael, ac ni allwn gael unrhyw deyrnas arall hyd oni fyddom wedi ymddar-

paru i etifeddu hon yn dragywyddol. Yn myd yr ysbrydoedd, â y rhai hyny sydd a'r fuddygoliaeth ganddynt yn mlaen i ddarparu y fford i'r rhai hyny a oesant yn y cnawd, yn cyflawni gwaith iachawdwyr ar Fynydd Seion.

I gyflawni y gwaith hwn bydd rhaid bod nid yn unig un Deml ond miloedd o honynt, ac fe â miloedd a degau o filoedd o ddynion a benywod i mewn i'r temlau hyn, a gweinyddant dros bobl sydd wedi oesu mor belled yn ol ag y dadguddia yr Arglwydd. Os byddwn ddigon ffyddlawn i fyned yn ol ac adeiladu y Deml fawr hono a ysgrifenodd Joseph am dani, ac os cymmeradwya yr Arglwydd waith ei weision, yna gwyliwch, canys chwi a welwch ryw un a welasoch o'r blaen, ac fe wel llawer o honoch yr hwn ni welasoch o'r blaen, ond chwychwi a'i hadwaenwch mor gynted ag ei gwelwch.

Y fraint hon ni allwn fwynhau yn awr, canys y mae gallu Satan yn gyfryw fel na allwn gyflawni y gwaith sydd ofynol er ein galluogi i'w chael.

Pan ddechreuom ar furiau y deml sydd i'w hadeiladu ar yr Adran hon, eheda y newydd o Maine i Galiffornia. Pwy a'i traetha? Y crach gythreuliaid hyn sydd oddiamgylch yma, ag ydynt oddiamgylch i'r ddaear hon yn yr ysbrydol fyd; fe fydd myrddiynau o honynt yn barod i drosglwyddo y newydd i ddiafliaid yn Missouri, Illinois, Califfornia, Mecsico, ac yn yr holl fyd. A'r gofyniad a fydd,—"Pa beth yw y newydd? Mae rhywbeth dieflig yn myned yn mlaen yn mysg y Mormoniaid, ac yr ydwyf fi yn ei wybod. Fe ddylai y Mormoniaid yma gael eu lladd." Ni wyddont pa beth sydd yn eu cynhyrfu i'r teimlad hwn, yr ysbrydion ydynt ag ydynt yn barhaus yn agos atynt.

Mae genym oll ysbrydion i'n presennoli; pan agorwyd llygaid gwas Eliseus, gwelodd fod y rhai ag oeddynt drostynt yn amlach na y rhai ag oeddynt i'w herbyn. Mae dwy drydedd ran drosom a'r drydedd ran yn ein herbyn, ac nid oes fab neu ferch i Adda ar na achubir i ryw deyrnas, ac ar na dderbyniant ogoniant a dyrchafiad i radd, oddieithr y rhai a gawsant y fraint o'r Efengyl ac a'i gwrthodasant, ac a bechasant yn erbyn yr Ysbryd Glân, â rhai hyn yn weision i ddiafliaid.

Pa hyd yr ymfodolant? Nid wyf yn gwybod nac yn hidio. Dywed pob un o'r bobl hyn gyda y Saint ag ydynt wedi oesu o'n blaen, o ddyddiau Adda hyd yn awr, a'r rhai a ddichon ddyfod ar

ein hol, 'adeilader teyrnas Dduw i fyny.' I ba ddyben? I achub trigolion y ddaear, i'w cael i gyd yn ol i ryw fath o deyrnas lle y gellir gweinyddu iddynt, a pheidio cael y defnydd corfforedig hwn i ddychwelyd etto i'w elfen naturiol, canys dymunwn gadw y gwaith hwn.

Gwyddoch pan weloch ffarm, mai annymunol genych yw ei gweled yn orchuddiedig gan chwyn, ac fe niweidiai eich teimladau i weled eich tai, eich hysguboriau a'ch meddiannau ereill yn cael eu dinystrio. Mae'n wir, gellwch wneuthur ychwaneg, eithr pa fodd y meddyliwch fod yr Arglwydd yn teimlo, yr Hwn sydd lawer fwy tosturiol na nyni, pan welo y diafol yn ennill mantais dros ei greaduriaid i'w harwain ymaith i'w dinystrio? Onid ydych chwi yn meddwl fod ymysgaroedd ei dosturi yn agor dros y bobl hyn, a'i fod yn lled ddigllawn wrth y drygionus? Onid ydych chwi yn meddwl ei fod yn teimlo lawer pryd fel pe dywedai, 'O, fy mhlant, paham na wrandewch i'r hyn a ddywedwyf wrthych, ac ymafaelyd yn egwyddorion bywyd, a gadael dilyn llwybr sydd yn arweiniol i'ch dinystr? Llafuriais i ddwyn allan y corfforiad hwn, ac ni ddymunwn golli fy llafur, eithr dymunwyf gael genych wrandaw y cynghor a roddwyf i chwi, ac i ddarparu eich hunain i fythol barhau a dyfod i'm presennoldeb, ac os na ellwch wneuthur hyny ac aros wrth gyfraith nefol, o leiaf aroswch wrth gyfraith teyrnas lle gallwyf anfon angylion atoch, ac mi a anfonaf ac a'ch cysuraf a gweinyddaf i chwi, ac a'ch cyfodaf i fyny ac a'ch gwnaf yn llawen a dedwydd, ac a'ch llanwaf â gorfoledd ac heddwch.

Ein busnes ni ydyw byw ein crefydd, a'r oll ydyw ag sydd genym i'w wneuthur. "Ond," medd un, "meddyliais fod genym godi ŷd" Yr ydwyf wedi dweyd wrthych, lawer gwaith, na roddwn i ddim i chwi am eich ffydd, heb i chwi ychwanegi eich gweithredoedd. Pa fodd yr ydych chwi yn myned i weithio i adeiladu y deyrnas i fyny?

Ewyllysiwyf yn awr i adael y pwnc a fuom yn ystyried, canys meddyiwyf fy mod wedi llefaru digon am dano yn bresennol, a dywedyd wrthych pa fodd i ddarparu eich hunain i adeiladu teyrnas Dduw i fyny ac achub y gonest galon.

Yma yr ydym yn nyffrynoedd y mynyddoedd hyn, a dywedwyf nad oes bobl ar y ddaear a oesant yma ond Saint y Dyddiau Diweddaf, ac ymddengys braidd yn fwy na allant wneuthur i aros

yma. Yn awr pe byddent mor gyflym i wrandaw ar gynghor ag y maent i ymgyfoethogi ac i foddhau eu tueddiadau eu hunain, ni chaffem weled yr amseroedd celyd a welwn yn awr.

Pan ddaethom yma gyntaf, ni fuom bythefnos ar yr ysgwâr yma, cyn fod camlas y Big Cottonwood; yr hwn a adeiladwn yn awr, yr un mor amlwg i mi ag y bydd byth pan ei orphenir, a chwi eto a welwch gychau arno. Y mae ganddo fod yna, i ba ddyben? I gynnal y bobl hyn. A ydych chwi yn meddwl fod arnom eisieu y dwfr a wastreffir yn y cannelau naturiol hyn? Dywedwch, chwiorydd, a ydych chwi yn meddwl fod arnom eisieu ychwaneg o ddwfr er dyfrhau? Ydych, canys mae eich pŷs yn sychu, ac nid ydych yn debyg o gael llawer o gucumbers i bicklo.

A ydyw y bobl hyn wedi bod mor gyflym i wrandaw ar gynghor ag y maent i ymgyfoethogi? Nac ydynt, a gwell fyddai gan rai o honoch weddio Duw i anfon gwlaw, nag i gymhwyso trwy eich llafur, y dyfroedd sydd yn dylifo yn barhaus allan o'r kanyons hyn. Dywedaf wrthych yn awr fel y dywedais o'r blaen, ni feddwyf nemawr ffydd i weddio am wlaw, a phe meddwn ffydd a gallu i ddwyn gwlaw ar y cnydau yn y dyffrynoedd hyn, ni wnelwn hyny. Paham? O herwydd fe daflai amryw o honoch i ymarferiadau diog, llesg, a segur, a byddai i bob un o'r Cenedloedd a ddeuai trwy y lle hwn chwennych eich ffermydd, a dywedyd, "dyma'r lle gwychaf a welsom erioed, mor gyfoethog yr ydych, fel mae eich hanifeiliaid yn ymdaro ar y bryniau, tŷf eich hŷd braidd heb lafur i drin y ddaear."

(*Yn parhau yn tud.* 405.)

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, RHAGFYR 27, 1856.

YMFUDIAD—O ddiffyg lle gorfodir ni i adael amryw hysbysiadau ymfudawl hyd ein nesaf. Roddwn ychydig. Gofynir oddiwrth ymfudwyr llawgeirt £3 y pen yn awr—y gweddil li'w dalu yn y Taleithau. Heblaw y £3 y mae £1 o flaen-dal at y

môr-gludiad, y gweddill o'r hwn sydd i'w dalu yn Lerpwll, Dysgwylir na fydd cost y môr-gludiad yn fwy nag arferol. Derbynir enwau a thaliadau hyd y 1 o Chwefror—bydd yn rhy ddiweddar ar ol hyny. Ni ellir mudo y rhai a dalasant £5 i'r perwyl y tro hwn. Rhoddir y manylion etto.

---

## PREGETH.

*(Parhad o âud.* 406,)

Dechreuent yn fuan i ddymuno am eich hetifeddiaethau, y tai hyn a'r ddinas hon, ac ni fyddai ond ychydig flynyddau cyn y caffem ymadael neu amryson â hwy. Fel y mae yn awr, nid oes unrhyw bobl a drigant yma, oddieithr Saint y Dyddiau Diweddaf, ac y maent hwy yn ddiammheuol y bobl oreu ar y ddaear, hyd y nod er fy mod weithiau yn eu ceryddu, a gwir yw yr hyn a ddywedwyf, canys haedda ychydig gerydd

Ni chredwyf i ddinas Enoch ymgyrhaedd yn mlaen erioed yn fwy, yn yr un cyfnod o amser, nag y mae y bobl hyn wedi wneuthur yn y chwe mlynedd ar hugain o'u hymgyrch, yr hyn sydd yn ddywediad o lawer drostynt. Pwy arall a drigent yma? Neb. Gosodwch genedloedd yma, a dywedwch wrthynt, fod iddynt gael eu caethiwo i'r lle yma, ac ystyrient eu hunain mewn gwaeth carchar nâ llymgosp-dŷ.

A oes rhai o'r brodyr yn tuchan ychydig, ac yn dywedyd, 'pe na fyddai ond am Formoniaeth,' gwnelent fel hyn neu fel arall? Pa beth am hyny? A oes unrhyw bobl arall a wnelent gystal ag y gwnewch chwi? Nac oes ddim un arall.

Pan feiwyf y bobl am beidio gwrandaw ar gynghor, y mae o herwydd fy mod am iddynt fyw fel y gallont yn fuan dderbyn gwobr cyfiawnder, ac i beidio aros cyhyd am dani.

Pobl dda yw y rhai hyn, er y fod rhai yn ein plith nad ydynt yn gwneuthur yn iawn. Planwch y Cenedloedd yma, ac yn fuan y gwelech dori gyddfau ac y clywech swn chwyrn y *rifle* yn rhaniadau y dwfr. Byddai llawer mwy o ymladd am ddwfr nag sydd yn mysg y 'Mormoniaid,' er fod llawer o honynt yn ei ladrata yn awr.

Teimla amryw o'r brodyr fel myfi; pe byddwn a fy ngnydau yn tyfu, ac y deuai rhywun heibio a dwyn fy nwfr, dywedwn

"Chwi a gyfodwch ŷd, gwnewch chwi? Wel, ewch yn mlaen, canys nyni a'i cawn os chwychwi a'i cyfoda."

Eistedda dyn yma a allaf edrych arno a ddywed fy mod yn fwy o deyrn nag Amherawdwr Rwsia. Feallai fy mod, canys pe gwelwn y tlawd yn goddef, gallwch fwrw casgenau blawd yn agored yn well nag Alecsander II, a rhoddi y cynnwysiad i'r tlodion gyda gwell calon nag y gallai efe.

Pwy, yn yr eang fyd, a allent fyw yma yn fwy heddychlawn na nyni? Neb; ac yr ydwyf yn diolch i Dduw am amseroedd celyd. A ydych chwi yn tybied fod ar y Cenedloedd eisieu y wlad hon? Nac ydynt, dywedant ei bod yn 'wrthodedig wlad gan Dduw,' a dywedaf innau haleliwia, canys y wlad benodol yw sydd well genyf, gwlad lle na thriga neb arall ond y rhai boddlawn i gadw gorchymynion Duw.

Dymunwyf fod yn ddigon teyrnaidd, os mai dyna yw yr iawn enw, er eich gwneuthur yn ddynion da a benywod da. Ewch atti gyda eich holl egni y flwyddyn hon, ac edrychwn os na allwn ddarparu gogyfer ag un arall. Mae hon yn wlad Sant-gynnyrchol fawr; yr ydym wedi gweled gwenith yn tyfu yma braidd yn ddisymmwth, ac ni allai fod gwell gwlad Sant gynnyrchiol.

Os bydd person yn gywir gerbron Duw, a chanddo fwy na anghen a er ei ddefnydd ei hun, ac nad yw yn ei chwennych, efe a wna gyfraniad rhwng y rhai sydd heb ddim, ac ni fydd anghen i unrhyw berson fyned heb ymborth anghenrheidiol. Gwn fod amrai yma ag ydynt wedi rhoddi allan lawer o flawd, ac nid y'nt wedi dyoddef mewn un modd am eu haelioni. Y mae dyn yn eistedd ar yr esgynlawr a ddywed i'w wraig grafu gwaelod y gasgen gàn, ac wedi myned i grafu eilwaith yr ail foreu, er cyfranu allan i'r tlodion, a'i chael yn hanner llawn. Gofynodd iddo os mai efe a'i gosododd yno, atebodd yntau naddo. Wel, meddai hithau, crafais e' allan neithiwr.

Ewyllysia yr Arglwydd eich profi; a gawn ni ddywedyd y pentyrwn fendithion Duw er i ni fod yn alluog i ddweyd fod genym gryn lawer i'n hunain? Na, ond rhanwn hwynt allan, a gwnawn felly gyda chalon gywir, mewn pob gostyngeiddrwydd; a bydded i'r rhai a dderbyniant fendithion eu derbyn gyda chalon gywir mewn pob gostyngeiddrwydd a diolchgarwch. Gwna rhai, sydd a pheth ganddynt, ei attal, ac mae rhai o'r tlodion yn dra-

chwantus, a chydiant mewn tipyn yma a thraw, ac a'i gosodan heibio, neu ei wastraffu. Os parhewch mewn trachwant, fe leiha eich heiddo ac fe ymddeifydd.

Bydded i'r tlodion, y rhai sydd ganddynt ymddibynu ar eu brodyr am fara, ar ol iddynt wneuthur yr oll a allent i'w gael eu hunain fod yn ddiolchgar, a pheidio cymmeryd ychwaneg na ofynant ddefnyddio mewn modd cynnil. Wrth gymmeryd y fath lwybr ni ddyoddefai neb. Gyda rhai y mae ofn, diffyg ffydd ac ymddiried yn Nuw, a dwrngauedigrwydd cybyddlyd; dyma yr achos o fod amryw yn cael eu gwasgu. Fel yr ydwyf wedi gwneuthur amlwaith, gwahoddaf etto y rhai ddiymddiried ac ofnog o fod Duw yn myned i adael y bobl hyn, i ymadael, os nad ydynt yn ewyllysio bod yn Saint ac i ymddiried yn Nuw y Saint. Dymunwn i'r fath gymmeriadau ymadael; bydd yn dda genyf os ymadawant. Ni fynwn iddynt aros; gwell genyf fyddai rhoddi blawd iddynt a'u helpu i ymadael, o herwydd y maent yn felldith i'r Saint. Ac os y diafol a'i gesyd yn eu calonau i ymadael, gwn yr â rhyw ran o'r ysbrydion drwg hyny gyda hwynt, ac wedi y cyfan caffem ddigon yn ychwaneg yn dyfod.

Yr oll a ofynwyf genych yw i gymhwyso eich calonau at efengyl Iesu Grist a bod yn Saint; ni ofynaf unpeth arall ar y ddaear oddiwrthych, ddim ond i fyw fel ag i wybod meddwl ac ewyllys Duw pan ei derbyniwch, ac yna aros ynddi. Os gwnewch hyny, byddwch barod i wneuthur llawer o bethau, a chwi a gewch fod llawer o ddaioni i gael ei wneuthur.

Nid oes amser genym i'w dreulio yn ofer, canys y mae genym gymmaint ar ein dwylaw ag ydym yn debyg o wneuthur, er cadw i fyny gyda y rhan hono o'n brodyr ag sydd wedi myned i'r ystafell arall.

A phan y byddwn wedi myned i'r cylch yn mha un y mae Joseph, y mae wedy'n ranau ereill, ac yna un arall, ac un arall, ac yn y blaen, hyd gynnyddiant tragywyddol mewn dyrchafiad a bywydau tragywyddol. Dyna y dyrchafiad a ddysgwyliwyf Bendithied Duw chwi. Amen.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

# SEREN Y SAINT;

*Yn udganu dadseiniad o eirchiadau Prophwydi ac Apostolion Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf—Cadfridogion Teyrnas y Dyddiau Diweddaf—goleuni arweiniol y Saint.*

## CYFROL X.

---

Edrych yr oeddit hyd oni thorwyd allan gareg, nid trwy waith dwylaw, a hi a darawodd y ddelw ar ei THRAED o haiarn a phridd, ac a'u maluriodd hwynt.—Daniel ii, 34.

Eithr Saint y Goruchaf a dderbyniant y freniniaeth, ac a feddianant y freniniaeth hyd byth, a hyd byth bythoedd.—Dan. vii, 18.

---

ABERTAWY;

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

1857.

pregethau angladdol Mormoniaeth a bregethwyd yr holl amser gan weinidogion ac offeiriaid parchedig y sectau?

Cyflym a rhyfeddol yw cynnydd Mormoniaeth, neu Deyrnas Olaf-ddydd Duw,a chwymp gormes. Braidd y gall y Saint ffyddlon fod yn barod i dderbyn y cyfnewidiadau disymmwth! Eithr beth am segurwyr yn a gwrthgilwyr oddiwrth yr Eglwys hon? O bob trueiniaid, y rhai hyn fyddant druenusaf; canys y dystiolaeth a feddant a gnoa fel prifyn yn eu calonau, tra y bydd barnau Duw ar eu gwarthau, a drws gwaredigaeth yn nghau!

Yn ystod pum mlynedd o'n cenadiaeth yn Nghymru yr ydym wedi canfod enghreifftiau o ffyddlondeb ac ymroddiad y Saint Cymreig gyda gwaith ein Duw na ddileir byth oddiar ein coffawdwriaeth, y rhai ydynt wedi llanw ein bron â chariad atynt, yr hwn a geisiwn brofi eto, er y byddwn yn mhell, mewn unrhyw ymdrech a eill cariad ac ewyllys ddyfeisio.

Derbyniasom olygyddiaeth yr Udgorn, (Ionawr, 1. 1856,) o ddwylaw profiadol a chymmeradwy: cyflwynwn ef eto i gyffelyb rhai—i'n holynydd teilwng, yr Henuriad Benjamin Evans. Am danom ein hunain, diolchwn i'n cynnorthwywyr, ein gohebwyr, a'n derbynwyr hynaws a pharod, gan hyderu y cydymdeimlant a ni yn y gwendid a'r anfedrusrwydd a fu ynom.

Braint y Saint fyddo cael terfynu eu llafur yn Mabilon, a'u dilyn yn fuan i Seion, yw gweddi daeraf ac olaf y

GOLYGYDD.

# CYNNWYSIAD.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 1.] IONAWR 10, 1857. [CYF. X.

## CRYNODEB O DDYSGEIDIAETH Y LLYWYDD EZRA T. BENSON, YN NEUADD Y SAINT, ABERTAWY, TACHWEDD, 11, 1856.

[*A gofnodwyd gan William Lewis.*]

GYDA eich sylw caredig, frodyr a chwiorydd, gwnaf ychydig sylwadau, ac ni wn yn amgen nag y cymmeraf destun i ddechreu, yr hwn a fydd yn eiriau o ddoethineb i'r Saint, ac i bawb eraill a ewyllysiant wrando.

Ystyriaf yr egyr faes eang o fy mlaen. Saint, edrychwch yma, a rhoddwch eich sylw i mi tra y llefarwyf. Pe byddech chwi wedi dilyn cyhyd ag ydwyf fi wedi dilyn ar bregethu, chwithau hefyd a ddymunech gael sylw. Nid wyf yn dysgwyl, wrth gwrs, y gallaf reoli cymmaint ar sylw eraill a ddichon fod yn bresennol. Wel, yn nadguddiadau Iesu Grist, trefn yw cyfraith gyntaf y nefoedd, âc heb drefn, annichonadwy ydyw i adeiladu y gynnulleidfa hon.

Daethom yma gyda yr amcan o addoli Duw: yr ydwyf fi wedi dyfod i lefaru wrthych yn enw yr Arglwydd, ac nid yn fy enw i fy hun, nac yn fy ngallu i fy hun, nac i lefaru wrthych eiriau o ddoethineb o fy eiddo fy hun, ond y cyfryw ag ydwyf wedi cael profiad o'u gwirionedd a'u hangenrheidrwydd, a'r cyfryw a ddymuna yr Arglwydd ddadguddio i'w bobl—am y rhai hyn y dymunwyf lefaru heno.



PRIS 1½C.

Teimlwyf yn ddiolchgar am gael fy mawr fendithio a'm breintio mewn cael sefyll o'ch blaen y prydnawn hwn. Yr wyf wedi teithio tua wyth mil o filltiroedd [yn meddwl ar ei genadiaeth bresennol] er pregethu i'r bobl hyn, ac wedi meddu calon weddigar, a gweddio ar hyd yr holl ffordd. Cyn i mi ymadael, cyssegrais yr oll a feddwn i'r Arglwydd. Teimlais nad oeddwn ond goruchwyliwr drosto. Nid myfi a'i cynnyrchodd nac a'i creodd; eithr bendith ydoedd a osododd Duw yn fy nwylaw. Ni wnaethym hyn yn ol dull sectariad—mi a'i cyflwynais i ddwylaw gweision Duw, canys nid oedd Efe ei hun yno yn bersonol.

Ein cenadiaeth yw, i ddweyd wrth y genedlaeth hon ein bod yn ymwneyd â gwaith yr Arglwydd yn y dyddiau diweddaf. Dyma y genadiaeth ag oedd yr angel, a welodd Ioan, i ddwyn yn y dyddiau diweddaf. Pan yr oedd Ioan yn ngweledigaethau yr Hollalluog ar Ynys Patmos, gwelodd fod angel i ehedeg yn nghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddo, i bregethu i'r rhai sydd yn trigo ar y ddaear. Yr oedd i waeddi â llais uchel am i'r bobl ofni Duw—i'w addoli Ef, nid i addoli aur nac arian, nwyfau na thaclau, nac unpeth o'r fath, ond i'w addoli Ef a wnaeth y nefoedd, y ddaear, y moroedd, a'r ffynnonau dyfroedd, a'r oll ag y sydd. Gwyddom mai Duw a ddygodd bob peth a fodola.

Nid oes a fwytawn, a yfwn, a fwynhawn, neu a feddwn, ar na wnaethwyd ac a roddwyd i ni gan yr Arglwydd. Oni ddylem ni, gan hyny, ufyddhau iddo Ef a'i addoli? Oni ddylem dderbyn ei Brophwyd pan ei danfona? A ydyw hyny yn cael ei wneuthur? Nac ydyw. Paham? O herwydd y mae, fel y dywed y prophwyd, tywyllwch wedi cuddio y ddaear, a'r fagddu feddyliau y bobl. Am hyny, melldith a ysodd y tir, a'r rhai sydd yn trigo ynddo a anrheithiwyd; am hyny preswylwyr y tir a losgwyd, ac ychydig ddynion a adawyd. Yr oedd Esaiah yn Brophwyd mawr. Cyfeiriodd yr Iesu yn aml ato, at Ezekiel, a'r holl hen brophwydi ereill, a chefnogodd eu dywediadau Pan ymddyddanai yr Iuddewon ag ef, deallai eu meddyliau, a chyfeiriai hwynt at yr ysgrythyrau a'r prophwydi, gan eu cymhell i'w chwilio, o herwydd eu bod yn tystio am dano Ef, ac os credent hwynt, y credent ynddo yntau hefyd. Yr oedd efe yn sicr o hyny, etto ymddygai y bobl y pryd hwnw

fel y gwnant yn awr, gwrthodent a chamdriniient weision Duw, y rhai a ddaethant i'w llesoli a'u hachub.

Yr ydwyf fi wedi dyfod ar genadiaeth i bregethu yr efengyl i blant dynion, ac i'w llesoli. Cychwynais gyda chalon weddigar, a pharhäais felly yn ystod fy holl daith, hyd heno. Yr wyf wedi ceisio bob amser i bregethu meddwl ac ewyllys yr Arglwydd i'w Saint, trwy ei Ysbryd. Pa beth yw ei Ysbryd? Pwy a'i medd, a phwy sydd hebddo? Dywed yr Iesu, Goddefwch i blant bychain ddyfod attaf fi, ac na waherddwch hwynt, canys o'r cyfryw y mae Teyrnas Nefoedd. A ddystrywiant neu a niweidiant hwy? A wna dyn, pan yn arweiniedig gan yr Ysbryd Glân? Na wna; efe a fydd yn ostyngedig, diniwed, a phlentynaidd: efe a dry ymaith oddiwrth bob drwg, ac a deimla yn foddlawn i osod ei fywyd a'i gwbl i lawr er ceisio Teyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef, ar ol yr hyn yr ychwanegir pob peth iddo.

Wel, onid yw Efengyl Iesu Grist yn eglur a syml? Onid yw yr Arglwydd wedi llefaru wrth y bobl yn y dyddiau diweddaf hyn? Oni all pob dyn a benyw a wyddant pa fodd i gasglu lluniaeth bywyd ac adnabod eu cyfeiriad yn yr heolydd, ddeall pan llefaro Duw? Etto, ni chanfyddant yr efengyl. Pa fodd y mae hyn? Dywed Paul, os cuddiedig oedd ei efengyl ef, mai yn y rhai colledig y mae yn guddiedig; yn y rhai y dallodd duw y byd hwn feddyliau y rhai digred fel na thywynai iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist. A phaham y dallodd duw y byd hwn hwynt? O herwydd mai pethau a duw y byd hwn a geisiasant yn gyntaf o flaen Teyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef.

Wel, medd rhywun, onid ydych chwi am bethau y byd hwn? Ydym, ond ceisiwn yr efengyl—Teyrnas Dduw a'i gyfiawnder Ef yn gyntaf, ac yna dysgwyliwn gael pob peth wedi ei ychwanegu i ni. Er nad ydym yn cael cymmaint o foethau mwynhad wrth wneuthur hyny, etto, gwnawn hebddynt hyd oni chaffom yn gyntaf Deyrnas Dduw a'i gyfiawnder Ef.

Yr ydych chwi yn proffesu eich bod wedi cael yr Efengyl—eich bod wedi cael eich hail eni, a'ch bod yn ddeiliaid o Deyrnas Dduw. Gofynaf, a ydych chwi yn byw yn y fath fodd fel nad ydych yn troseddu ar iawnderau neb o'ch brodyr a'ch chwiorydd, nac ar eiddo neb arall? Os ydych yn byw felly, gallaf

dystio wrthych na fydd yn hir cyn yr ychwanegir pob peth i chwî er ail ddiwallu eich holl anghenrheidiau.

Gwelwch nad ydwyf wedi dyfod i bregethu unrhyw efengyl ddyeithr i chwi, nac i roddi unrhyw addysg tuhwnt i'r cyfryw a ddyry fy mrodyr hyn i chwi. Am ba beth y cyfnewidiwn i fy nghrefydd? A allwch chwi gael digon o aur yn yr hen Loegr, neu yn yr holl fyd i roddi i mi am fy nghrefydd? Na allech. Am yr oll o hono ni chyfnewidiwn y gronyn lleiaf o'r hyn ydwyf wedi gael yn fy mhroflad oddiar pan gofleidiais yr efengyl. Os collaf yr efengyl, collaf fy iachawdwriaeth. A beth pe collwn fy iachawdwriaeth? Collaf fy holl aur a'm harian hefyd. Eithr os byddaf byw i fy nghrefydd, mi a wn yr ychwanegir pob peth i mi. Yr ydwyf yn ymddiriedlawn yn ngeiriau yr Iesu a'r Apostolion, a mentraf fy hap gyda eu heiddo hwythau. Mae fy nghoelbren wedi ei bwrw gyda y bobl hyn, a'm tynghed wedi ei gylymu wrth eu heiddo hwy. Yy wyf yn nwylaw fy mrodyr, gallant fy nanfon i unrhyw le, neu wneuthur a mi fel y mynont.

Meddwyf mwy llawenydd yn yr efengyl hon nag mewn dim arall. Mwynhawyf mwy llawenydd wrth gael llefaru wrthych chwi yr hwyr yma, nâ phe byddwn yn ymwledda y noson hon ar yr holl foethau a allasai y dref hon ddiwallu, neu yn cael yr holl anrhydedd a allasai roddi i mi. Pan elai hyny heibio byddai ddarfod am dano, megys bwrlwm ar y dòn; eithr ar ol cyflwyno i'r bobl air Duw yn nerth ei Ysbryd, gallaf gysgu yn esmwyth gyda chydwybod mor bur a'r eira, a chael breuddwydion a gweledigaethau hyfryd oddiwrth yr Hollalluog, a bod yn ddedwydd a diogel. Yna, os tuhwnt i'r llèn y'm gelwir, y mae genyf waith i'w wneuthur yn yr ysbrydol fyd. Beth pe gwnelai yr oll o'r genedlaeth hon felly? Y fath ddedwyddolion fyddent.

Ni ddaethym yma i wawdio nac i dynu lawr, i ddyrysu nac i dywyllu meddyliau y bobl, eithr dygwyf oleuni a bendithion yr Efengyl. Os cysson ydyw fy ngeiriau â gair Duw, ac â'ch rheswm chwithau, ac os cyd-dystia Ysbryd y gwirionedd i chwi eu bod yn wir—derbyniwch hwynt, a gadewch i'r gweddill o'r byd fyned i'w ffordd ei hun. Os na arddelwn ein Hiachawdwr yn awr, ni arddela Efe nyni o flaen ei Dad. Pa beth yw perthynasau,—gwragedd neu blant, tadau neu famau, i'w cydmaru

ag efengyl Iesu Grist? Pan ei cofleidiais gyntaf, gadawodd fy nghyfeillion myfi, a gadawais innau hwythau hefyd, ac ni welasant fi am ddeng mlynedd wedi hyny, pan yr oedd yn dda ganddynt gael fy ngweled, er eu bod wedi fy ngalw ar y cyntaf yn ffol-ddyn am fyned i'r gorllewin gyda y bobl, am ba rai y dywedent yr ymddarfyddent. Yr oeddwn yn trigo yn Massachusets cyn i mi fyned i'r Gorllewin; yr oedd yn daith hirfaith yr amser hwnw. Teimlwn i fyned hyd derfynau y ddaear pe ei ofynid, a gweddiwn ar i ereill gael teimlo yr un modd, ond nid yn gyhoeddus. Yr ydwyf wedi bod yn weddigar bob amser o'm mebyd; yr ydwyf yn gweddio yn ostyngedig ar fy Nuw yn ddyddiol—dyna y ffordd i gael dadguddiadau a heddwch—dyna fel y gwnaeth Daniel, hyd oni allai ddehongli breuddwydion. Ei doethineb ef oedd tuhwnt i eiddo y brenin, a doethion Babilon. Derbyniodd efe freuddwydion, gweledigaethau, dadguddiadau, a doethineb oddiwrth Dduw y Nefoedd trwy ei ddiwydrwydd a'i ostyngeiddrwydd—trwy ympryd io, gweddio, a byw ei grefydd. Onid ydych chwi yn meddwl ei fod yn cadw y Gair o Ddoethineb? Meddyliwn i ei fod, ac, os oeddynt ganddo, iddo daflu ymaith ei bibell a'i dybaco, gwaredu ei flwch snuff, a thori ei botel whiskey.

A ydych chwi yn tybied fod y bobl yn y gwledydd hyn yn myned i fyw am y deng mlynedd dyfodol fel y maent yn awr? Meddyliwn i nad ydynt. Tuedda yr ysbryd sydd ynof fi i rybuddio Saint y Dyddiau Diweddaf—i mi waeddi â llef uchel a diattal ar iddynt fyw eu crefydd; i wasanaethu eu Duw yn gyfangwbl, a chyda chalon anranedig, a mynegi i'r rhai na chadwant y geiriau o ddoethineb hyn y gwrthgiliant yn ddiau. Pa beth yw doethineb? I ddeall a gweithredu yn iawn. Os na wnawn felly bydd rhaid i'n fyned tuag yn ol a gwrthgilio, ac fe ddichon y trown ac y gwrthwynebwn y gwaith hwn fel y gwna rhai yn awr. [Yr oedd gwrthgiliwr yn areithio yn erbyn "Mormoniaeth" yn y dref ar y pryd.] Ond, a lwydda y fath rai i oresgyn y deyrnas hon? Gwyddom nas gallant. Gwyddom fod Duw wedi galw ac ordeinio Prophwyd, ac wedi cyflwyno iddo allweddau a gallu ei deyrnas ar y ddaear, y fod hwnw wedi ordeinio ereill, a'r rhai hyny ereill, &c., hyd oni dderbyniasom ninnau y gallu a'r awdurdod. Gwyddom fod yr hyn a selio gweision Duw ar y ddaear yn cael ei selio yn y

nefoedd, ac fod yr hyn bynag a rwymont neu a ryddhaont ar y ddaear yn cael ei rwymo neu ei ryddhau yn y nefoedd. Y mae Duw a lluoedd y nef gyda y gwaith hwn—Efe a'i pia, nid nyni. Nid gwiw, ynte, i ddyn godi ei fraich egwan yn erbyn yr Hollalluog. Dywedaf wrthych ei fod yn cloddio mewn rhych lle mae pytato yn anaml, ac fe gloddia yn fuan lle nad oes un. Efe a wywa ymaith, ac a sudda i'r ddaear, ac a goll ei ddylanwad hyd y nod gyda ei gyfeillion ei hun. Cabl-draethont, argraffont, areithiont, a gwnelont a fynont hyd oni elont i uffern, nid gwell fyddant, canys y mae Duw gyda y bobl hyn, ac Efe a fydd o hyd hefyd, cyhyd ag y gwnelont yn iawn, ac ni cha unpeth lwyddo i'w herbyn. Gwn hyny, ac ni fyddwn yn Formoniad oni bai fy mod yn gwybod fod Mormoniaeth yn wirionedd.

Rhaid i mi ei chymmysg i chwi heno, a dweyd gair wrth ein cyfeillion. Llefarais yn fwy neillduol wrth y Saint bethau a'ch gweddant chwithau os gwnewch hwynt.

Ni ofynwn amgen oddiwrthych na ofyna yr Apostol cyntefig. Gofynwn i chwi edifarhau am eich pechodau, i gymmeryd eich bedyddio er maddeuant am danynt, ac i ddyfod i mewn deyrnas Dduw gyda chalonau cywir i'w wasanaethu Ef. Tystiwn fod allweddau, bendithion, a gallu y deyrnas wedi cael eu cyflwyno i blant dynion—i'r bobl hyn, fel, mai beth bynag a rwymont neu a ryddhaont ar y ddaear, ei fod yn cael bod felly yn y nefoedd. Anrhydeddwn a chyflawnwn holl ordinhadau efengyl Iesu Grist. Gofynwn i bob dynion a benywod i gredu eu Beiblau eu hunain, y rhai sydd ganddynt yn eu tai er ys cynnifer o flynyddau, ac os credant hwynt, y byddant yn Formoniaid, neu os na fyddant yn Formoniaid, rhaid iddynt wadu eu Beiblau. Dywedwn, os credwch eich Beiblau—credu yn Mab Duw, edifarhau am eich pechodau, a chymmeryd eich bedyddio, derbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân, yr hwn a egyr eich dealltwriaeth, fel y galloch weled a chanfod a gwybod drosoch eich hunain fod Mormoniaeth yn wirionedd, os yn gywir a didwyll y deuwch, neu ni fydd gweinyddiad yr ordinhadau yn fwy llesiol i chwi na lludw gwelltyn.

Dywedwch ein bod ni, Saint y Dyddiau Diweddaf, yn dra selog. Ydym, yr ydym yn selog iawn. Dywed hen wir ddiareb "Byddwch sicr eich bod yn iawn, yna yn mlaen a chwi." Ond

y drafferth fawr gan bobl, unwaith yr ymuniawnont, ydyw i barhau felly.

Frodyr a chwiorydd, pa fodd y gallwn barhau yn iawn? Rhoddaf yr allwedd air i chwi. Hysbys i chwi fod dau allu gwrthwynebol i'w gilydd yn amryson bob amser a chwi, ac yn eich tueddu at ryw feddyliau a gweithredoedd. Os cariadlawn y teimlad a ysbrydolir ynoch tuagat unrhyw fôd, dwyfol briodoledd ydyw yn sicr—pob tueddiad i lesoli bôd neu wneuthur unrhyw ddaioni sydd briodoledd ddwyfol. Pan yn teimlo felly, ac yn deall pa beth sydd dda, paham nad awn yn union i'w wneuthur? Y tuedda yr Ysbryd daionus chwi mor gyflym neu yn gyflymach nag a allech weithredu sydd sicr. Pe hyny wnelem, nid gronyn o'r ysbryd gwrthwynebol breswyliai ynom—nid mwy y pechem neu yr ysgogem at bechod, tra yn hollol o dan ddylanwad Ysbryd Duw, nag y gwnelai yr angylion neu Duw ei hun, a byddem yr un mor berffaith yn ein cylch. Dywed yr Iesu wrth ei ddyscyblion, "Byddwch chwi, gan hyny, yn berffaith, fel y mae eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd yn berffaith." Ni ofynai gymmaint oddiwrthynt hwy ag oddiwrth angylion, eithr yn ol eu dealltwriaeth, eu profiad, a'u gallu—i fod yn berffaith yn eu cylch hwy. Felly y dywedaf innau wrth y Saint,—Byddwch berffaith. Pa fodd, meddwch, y gallwn fod yn berffaith? Wrth fyw eich crefydd; canys y mae hono yn berffaith. A oedd, a oes, neu a fydd ynof unrhyw ammheuaeth yn ngylch y grefydd neu yr efengyl a gofleidiais? Ddim gronyn. Cynnyddwyf ac ymwellhawyf o ddydd i ddydd ac o wythnos i wythnos, oddeutu mor gyflym ag y dymunwyf ac y ceisiwyf. Egwyddor gynnyddol yw Mormoniaeth. A fwriada rhai o honoch chwi, Saint, barhau am y deng mlynedd dyfodol yn yr un dull ag y treiliasoch y rhai mynedol? Na nid ydwyf yn meddwl y gwnewch. Os na chynnyddwch, yn ol yr ewch yn ddiau, a sefyll y canlyniadau. Cofiwch ynte y geiriau o ddoethineb.

Y Gair o Ddoethineb—pa beth ydyw? Byw yn ol y goleuni a'r wybodaeth a feddwch, ac wrth wneuthur felly, ceir cydwybod ddidramgwydd tuag at Dduw a dynion, ac nid heb hyny. Paham na chredwn y gallwn wneuthur felly, a'i gyflawni? Pa beth ddiffygiwn? Ymddiried yn Nuw. Dywed yr Iesu pe na fyddai ond dau neu dri yn nghyd yn ei enw yn gofyn am yr

hyn a anghenont na fyddai iddo ei attal rhagddynt. Mae arnom eisieu cael y ffydd hon, a'i chanlyn a'i pherffeithio a'n gweithredoedd. A ellir gwneyd hyn? Gellir, ddim ond i ni ofalu gwneuthur y peth cyntaf fyddo o'n blaen bob dydd, a pheidio hidio pa beth fyddo yn dyfod drannoeth. Nid ydwyf yn gofyn i Dduw pa beth sydd genyf i wneuthur yn yr wythnos nesaf, ond ceisiwyf weithio allan fy iachawdwriaeth bresennol—yr hyn sydd genyf i wneuthur heddyw. Cyn i mi ddyfod yma heno, ni weddiais gyferbyn ag y fory, ond dywedais, "O, Arglwydd, dyro i mi ddoethineb a nerth heno i ddadguddio dy feddwl a'th ewyllys di i'r bobl hyn." Os gwnaf yn dda heddyw, byddaf alluocach i wneuthur yn well y fory, ac felly yr ymwellhaf ac y cynnyddaf. Pa wiw i ni geisio gwella y mynedol —nis gallwn ad-alw y ddoe. Ymddiwygiwn; nid oes achos i ni ddilyn yr un hen lwybr o hyd. Gwyddoch fod pobl yn fwy hyddysg yn awr nag oeddynt gynt. Yn yr hen amser, pan anfonent y crwt i'r felin a bwshel o wenith, gosodent gareg yn y pen arall i'r cwd i wrth-bwyso y gwenith: maent oddiar hyny wedi dysgu yn well—i ranu y gweinith i ddau pen y cwd. Dyma ydyw diwygiad a gwelliant. Os gwnawn ninnau ein dyledswydd, ymwellhawn a chynnyddwn ninnau hefyd, os na wnawn, awn tuag yn ol.

Dywedais fod arnom ddiffyg ffydd ac ymddiried yn Nuw. Dywed Efe mai ei fusnes Ef ydyw rhagluniaethu i'w Saint. Yr ydwyf wedi aml ofyn y gofyniadau a chael yr atebion canlynol—"Pa bryd y bwriadwch chwi, frawd, neu chwaer, fyned tua'r Dyffryn?" "Nid ydwyf fi yn gwybod." "A ydych chwi yn dysgwyl aros fel yr ydych am bump neu ddeng mlynedd etto?" "Wel, nid oes un argoelion gwell o'm blaen."

Er hyny dywed yr Arglwydd mai ei fusnes Ef ydyw rhagluniaethu ar gyfer ei Saint. Byddai yn beth dyeithr iawn iddo beidio meddwl am danynt hwy fel y gwnaeth am Foses a phlant Israel. Pregethodd Moses wrthynt, a galwodd hwynt allan; ac, er eu bod yn gaethion a thylodion, credasant a gosodasant eu ffydd yn Nuw i dyneru calonau eu cymydogion i'w cynnorthwyo i fyned allan, a thrwy eu ffydd y croesasant y Môr Côch. Onid ydym ni yn addoli yr un Duw Hollalluog ac anghyfnewidiol? Oni ufyddhasom ni i'r un Efengyl nerthol? Oni allwn ni feddu yr un ffydd rymus, ac oni chynnyrchai hi yr un canlyniadau yn

awr ag y gwnaeth gynt? Gwnelai yn sicr. Pa fodd y cewch chwi hi? Wrth fyw eich crefydd.

Gofynaf i chwi etto, a ydych chwi yn cadw y geiriau o ddoethineb? A ydych chwi yn ddoeth? Dywed yr Iesu, byddwch gyfrwys megys seirph, a diniwed megys colomenod. A ydych chwi yn ddiniwed at, ac yn hoffus o blant dynion? Caniatewch i mi ofyn i chwi benau teuluoedd, a ydych chwi yn byw eich crefydd? Honwch fod o'r dosparth goreu o bobl a ellir gael. Dangoswch i mi unrhyw bobl mewn unrhyw le ag ydynt yn unol ag egwyddorion gwirionedd a santeiddrwydd, a chwi a ddangoswch Formoniaid. Os ymddarostyngwch i arferiadau gwael y cenedloedd ewch lawr lle yr ânt hwythau, ac yn is hefyd. Y mae arnom eisieu byw ein crefydd a dangos ein cyfiawnder—ein gweithredoedd da a mawreddog o flaen dynion. Mae y sectariaid wedi gweddio a chwyn-leisio digon am lawer o ganrifoedd, eithr dylem ni feddu rhywbeth gwell, mae arnom ni eisieu byw yn ostyngedig, gweddigar, gwyliadwrus, a diwyd.

*(I'w barhau.)*

---

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, IONAWR 10, 1857.

TRAETHODAU.—Mae y trydydd traethawd—"Bedydd Dwfr" ar fod yn barod. Os bydd i'r Cynnadleddau ag ydynt heb anfon yma yr un ddimeu o arian traethodau etto, a'r lleill ag ydynt ddim ond wedi anfon rhan o honynt, weithredu yn ol yr ammodau a gynnygiwyd, galluogir ni i fyned a'r gwaith rhag ei flaen. Wrth ofyn i'r Saint am wneuthur ymdrech i rybuddio ein cyd-genedl, ni fu yr awdwr na'r cyhoeddydd yn ol o gyd-ymdrechu a chyd abertlu, os aberthu hefyd, trwy wneuthur y traethodau mor rhâd ag y gellid, fel y dilynai bendith Duw eu llafur, am ddweyd o honynt *deuwch* ac nid *ewch*.

Dealler nad yw arian y "Priodas a Moesau" yn gynnwysedig yn rhai y traethodau.

Dymunem i'r Prif ddosparthwyr ag ydynt wedi anfon cyfrif o'r traethodau sydd ar law ganddynt hwy, anfon cyfrif etto o'r rhai sydd ar law yn eu Cangenau, a'r rhai nad ydynt wedi anfon unrhyw gyfrif, anfon cyfrif o'r oll gyda eu gilydd. Anfoned y brawd E. D. M. enwau y *several different sorts* sydd ar law ganddo.

Trwy gael gwybodaeth yn fuan deallwn pa draethodau sydd allan o brint, a pha rai allwn gyhoeddi.

Meddyliwn nad doeth yw i frodyr Sir Aberteifi gadw yr "Amddiffyniad" ar law, ond ei wasgaru yn y cylchoedd hyny o'r Sir a'i anghena. Dichon y dad-ddyrysai lawer meddwl gonest; ac, o'r ochr arall, geill fod yn erbyn y rhai y mae yn ddyledswydd arnynt ei ddosparthu.

---

CLORIAU.—Pris y cloriau Seisnig o'r "True Repentance" yn mhaen yw dau swllt y cant. Dysgwyliwn lawn dâl am danynt mor fuan ag y gellir ar ol eu derbyn, gydag arian y traethodau. Hyderwn fod y personau a enwir arnynt o gymmeriad teilwng o'r grefydd a broffesant: mae hyn o bwys.

---

YMFUDIAETH.—(*O'r "Star."*)—Ni enfyn y Swyddfa hon un rhyw ymfudwyr Drysorfa Ymfudol Barhaus i Utah, yn ystod y flwyddyn 1857. Fe ddefnyddir yr holl symiau a eill y Cwmpeini erchi i dalu y dyledion a dynwyd, wrth anfon allan dros ddwy fil o eneidiau, yn y flwyddyn 1856. Cofied y Saint na ellir anfon dwy fil o bersonau i Utah heb wneuthur traul o tua deunaw mil o bunnau. Mae'n debyg y cymmer yn agos ddwy flynedd o'r amser presennol, cyn y bydd Cwmpeini y Drysorfa Y. Barhaus wedi talu y dyledion a dynwyd yn ngwaith y tymmor diweddaf.

Yr oedd amrai bersonau y llynedd a dalasant i'r Drysorfa Y. Barhaus £5 yr un, ar yr ammod yr ymfudid hwynt yn 1857. Drwg genym ein bod dan yr anghenrheidrwydd o ddweyd wrth bawb o'r cyfrai, na chaniatâ ein sefyllfa arianol eu hymfudiad y tymmor dyfodol. Os dymuna neb o'r personau ad-gymmeryd eu taliadau, y maent at eu rhyddid, unrhyw amser, i wneuthur felly; eithr os gallant adael iddynt aros yn y Swyddfa flwyddyn neu ddwy yn ychwaneg, dyry fawr gymmwynas; a chânt eu cofio gyda y cyntaf a anfonir nesaf gyda y Drysorfa.

Mae Llywydd Cwmpeini y D. Y. B. wedi anfon i ni enwau rhai o'r Saint a ofyna iddynt gael eu mudo gan y Drysorfa yn ystod y flwyddyn ddyfodol. Anfonasom lythyron yn hysbysu y personau hyny o ofyniad y Llywydd, gan obeithio, ar y pryd yr hysbysasom hwynt, y byddem alluog i'w hanfon: eithr gorfodir ni yn awr i ddweyd wrth bawb a dderbyniasant y fath lythyron, na fydd gan y Cwmpeini fodd i'w hanfon yn 1857.

Mewn perthynas i'r pwnc yma, rhoddwn y dyfyniad canlynol o lythyr atom ni gan y Llywydd Brigham Young, yn ddyddiedig, Dinas Ll. H. Mawr, Awst 30, 1856.

"Mewn perthynas i'r Ymfudiad gyda chwmpeini y D. Y. B. y flwyddyn ddyfodol, dymunwn ddweyd wrthych, am beidio a benthyca arian i gynnorthwyo yn yr Ymfudiad, a thynu arnom ni, fel y bu yr arferiad cyn hyn, gyda'r golygiad y caffem arian oddiwrth ddyledion y personau a ddygid trosodd, neu mewn unrhyw fodd oddiwrth ddyledion dyledus i'r Drysorfa; canys y mae yn anmhosibl i ni godi dim arian o'r fath beth; ac y mae gweithrediadau y Cwmpeini wedi treulio pob peth o'r lun moddion defnyddiadwy, am y ddwy flynedd ddiweddaf, a allwn ni erchi yn mhob rhan.

"Ni allwn sefyll y sugniad parhaus yma yn hwy, heb addaliadau oddiwrth y rhai dyledus i'r Drysorfa. Gorfodir ni, gan hyny, o anghenrhaid i weithredu yn hollol oddifewn i eiddo y Cwmpeini Drysorfa Y. Barhaus, yn lle benthyca, ac yna addalu allan o arian y degwm, fel ein gorfodwyd i wneuthur o dan yr arferiad presennol. Y *stock* a'r wageni ydynt ein hunig foddion oddiwrth y Drysorfa, ar y pen yma i'r daith, oddieithr cyfraniad yn awr ac eilwaith. Y gauaf diweddaf, trengodd y stock, ac y mae yn wybodus i chwi fod wageni yn ddielw yn y farchnad hon.

"Gwir deimlem i gynnorthwyo y Saint tlodion i ddyfod adref i Seion, a meddyliwn ein bod wedi profi hyny trwy ein gwaith; ond nid yw yn ddoethineb i hollol adael pob peth arall a berthyna i adeiladiad Teyrnas Dduw, wrth gasglu y tlodion, yr hyn nid yw ond un gangen o hyny." . . . .

"Hysbys i chwi fod y peiriant gwlân wedi bod yn gorwedd mewn ystor-dai yn St. Louis, am flynyddau, ac yr ydym wedi cael talu ystór-dreth, yn cyrhaedd i filoedd o ddoleri. Ein dymuniad yw i'r peirianwaith yma gael ei gludo yn groes i'r

Plains, gan fod ei eisieu yn awr yn y Diriogaeth hon i ddybenion gwneuthurawl.

"Dymunwn hefyd wneuthur yr oll a allom ar y Deml, flwyddyn arall, gan na wnaethom ddim arni yn hon; a rhaid i ni gael diwalliadau i gynnorthwyo y gwaith hwn. Penderfynwn feithrin ein busnes Eglwysig cyffredinol am ennyd."

Wrth y Saint a fwriadant fyned trwodd i Utah ar eu cost eu hunain, dywedwn y gellir erchi gweddeuau trwyom ni, y rhai ddiwellir yn y cychwynfan i'r plains, gan ein goruchwyliwr. Meddyliwn y tala £55 y gost o un wagen—a bwau, ieuau, a chadwynau, pedwar ych, ac un fuwch—feallai ddwy. Rhaid i'r rhai a ddymunant i ni eu herchi iddynt ein hysbysu yn ddioed, ac anfon yr hyn sydd eisieu fel y trosglwyddom yr unrhyw gyda ein goruchwyliwr. Bydd y 1af o Chwefror mor ddiweddar ag y gallwn dderbyn eirchion am y tymmor hwn.

Wrth bawb a ewyllysiant fyned trwyodd i Utah ar eu cost eu hunain, gyda yr osgordd llaw-geirt, dywedwn, na dderbyniwn oddiwrthynt ond digon o arian i'w mhudo i'r Talaethiau. Yn y porthladd tiriadol derbynia yr Henuriad John Taylor eu harian cludiad, a gwna bob trefniadau anghenrheidiol gogyfer a'u lluniaeth a'u cludiad gyda y rheilffordd i ddinas Iowa. Fe fydd, modd bynag, yn anhebgorol anghenrheidiol, os bwriadwch groesi y plains, i gael llaw-geirt, gweddeuau, wagenilluniaeth, da, eidionau, lluniaeth, pabellau, &c., mewn parodrwydd yn ninas Iowa, fel na fydd rhwystr am un diwrnod am un dim. I gyflawni hyny gellwch erchi yr holl bethau uchod trwyom ni, a gallant gael eu diwallu, yn y cychwyn-le i'r plains, gan ein goruchwyliwr ni. Nis gwyddom gywir gost yr holl bethau hyn; ond meddyliwn y gwna £3 y pen, i bawb dros flwydd oed, ddiwallu y trwsiad allan o'r lle y gadewch y rheilffordd, yn ninas Iowa. Pe dygwyddai, modd bynag, fod yn rhy brin, gallech wneuthur i fyny y gweddill i'r goruchwyliwr ar eich cyrhaeddiad i'r cychwyn-fan. Pe gormod fyddai gellid dychwelyd y gweddill i chwi yn yr un man.

Dylai pawb, gan hyny, a fwriadant fyned yn y dull yma, anfon i'n Swyddfa ni £1 y pen, fel y blaen-dâl arferol i sicrhau cludiad dros y môr; a £3 y pen yn ychwanegol, i gael eu trosglwyddo gan ein goruchwyliwr i sicrhau eich trwsiad allan, ar, neu yn agos i ddechreu y plains. Ni dderbynir blaen-daliadau

i ymfudwyr, a fwriadant fyned trwyodd i Utah y tymhor hwn, yn ddiweddarach na'r 1af o Chwefror.

Y gost debygol i rai oedranus, o'r porthladdoedd tiriadol i Ddinas Iowa, gan gynnwys y lluniaeth anghenrheidiol fydd heb fod yn mhell o £2 10s; dichon y bydd ychydig sylltau yn rhatach. Hyderwn na fydd pris y môr gludiad yn fwy nag oedd y llynedd.

Bwriedir cael yr ymfudiaeth y tymhor hwn i adael y frontiers yn mis Mai ac i gyrhaedd Utah yn Gorphenaf. Dyry hyny i'r Saint amryw fisoedd ar ol eu cyrhaeddiad i ddarparu dros y gauaf. . . . .

Edryched Bugeiliaid, a Llywyddion Cynnadleddau, a Changenau fod y Saint yn cael eu hollol gyfarwyddo mewn perthynas i'w hymfudiad, fel y cyflawner pob peth yn ei amser a'i dymhor; arbeda hyn annhrefn "sydd yn dwyn haint."

Gofynir i bawb a fwriadant ymfudo i Utah y tymhor hwn ag sydd a symiau ganddynt yn y Swyddfa hon, a'r rhai nad ydynt wedi ein hysbysu o'u bwriadau, i wneuthur hyny cyn, neu erbyn y 1af o Chwefror nesaf; neu fe ddichon y siomir hwynt.

---

SYLWER.—Diolchwn yn fawr i'r sawl a anfonodd wybodaeth i ni ynghylch y rhai ymfudodd heb yn wybod i ni wedi diwedd goruchwyliaeth y brawd Jones. Os oes rhywun felly o'r enw Ruth Rees neu rywrai eraill wedi ymfudo o Gynnadledd Sir Fynwy neu rhyw Gynnadledd arall, diolchwn i'w Llywydd os enfyn efe y manylion yma. A chyda llaw dywedwn y dysgwyliwn i enwau a blaen daloedd pawb ymfudwyr Cymreig ddyfod trwy y Swyddfa hon o hyn allan.

---

CYRHAEDDIADAU.—Mae y brodyr William Miller a James Taylor wedi cyrhaedd yma er's amser, ac wedi dechreu o ddifrif ar eu goruchwylion pwysig. Meddant ein hymddiried mwyaf fel tadau yn Israel,—rhoddion gwerthfawr ein Iôr i'w Saint, am ba rai y dymunwn i'r Saint ddiolch i Dduw am y fraint o'u cael yn lle y ffyddlon frodyr sydd ar ein gadael. Y maent yn bresennol ar daith trwy Brycheiniog a Mynwy.

Nid yw y brodyr Henry Harries a Samuel Roskelly wedi cyrhaedd, ond dysgwyliwn hwynt yn ddyddiol.

---

Y FLWYDDYN NEWYDD.—Blwyddyn fyth gofadwy yn mhlith hynodion flwyddi yr Oruchwyliaeth fwyaf a diweddaf hon argoelia 1857 fod. Pwy all ddweyd pa beth a ddygwydd ynddi? Pwy, hebiaw gwylwyr tyrau Seion, a welant lu dinystriol y fall yn dyfod i fedi dyn fel gwellt y maes, ac a rag rybuddiant y bobl? Pwy heblaw Prophwyd a Gweledydd mawr ein hoes, er ys ugain mlynedd yn ol, ar amser mor anhebygol, a ragwelai ac a ragddywedai am doriad yr Undeb mawr Americanaidd—cyfodiad caethion mewn gwrthryfel yn erbyn eu mheistri, a thywalltiad rhyfel blin ar holl genedloedd daear? Neb. Yn awr pa beth gyhoedda newyddiaduron ein dydd sydd bwysicach nag amryson Gogledd a Deau yr Americ? Toriad bygythiol yr Undeb—rhuddiad gwyneb-lâs dir Kansas gan waed dwy-blaid yr un genedl—gwŷr y Deau, a gwŷr Gogledd yr Americ? Pa beth arall? Ymgynneniad teyrnasoedd nertholaf byd â'u gilydd—Persia a Lloegr yn penderfynu cwrdd eu gilydd, a gwrth-daraw ar ddannedog fynyddau creiglyd Herat, i orchuddio cyflafanau erchyll glanau y Danube, Sinope, Alma, Inkermann, Balaclava, a Sebastopol â saith hyllach golygfeydd gwaedlyd, megys y gorchuddia gochlen wyneb haul; tra arthes faleisus Rwsia tu cefn i'r berth yn gwylied ei mhantais i ymddial ar y llew Brytanaidd pan yn ei flinder a'i wendid. Y cawr Prwsaidd sydd ar un ergyd am sefydlu tyngbed Switserland egwan, tra mae Ffrainc yn barod i neidio i'r ymladdfa o blaid yr olaf, er ei pharch i'r blaenaf.

Gwleddoedd moethus i archwaeth lygredig a chyllau aflan plant y butain yw hanesion arswydus lladradiadau pen heol, torfiad tai, aml dreisiadau, hyll lofruddiaethau, a dihenyddiadau eu gilydd; ond nid mor flasus y crochanaid heb ynddo rwydardl sechiedig o gyuddrwg cabldraethau a ellid eu gwau yn y ffau uffernol, o waith y cyflogedig 'beirch' a 'gol's,' am ddilynwyr diniwed yr Oen.

O, Babilon! Babilon! mae cri y weddw a'r amddifad, y tlawd a'r gormesedig, a gwaedd miloedd eneidiau duwiol ferthyron tan yr allor ar gael eu hateb, ac amser dy gwymp sydd wrth y drws!

Saint yr Arglwydd, dywedwch Amen, a "deuwch allan o honi hi" fyddo eich buchaf floedd ar eneidiau gonest am y flwyddyn hon etto.

Cydnebydd eich gostyngedig udganydd anmhrofiadol ei anfedrusrwydd i gyflawni swydd mor anrhydeddus ac uchel, yn enwed-

ig pan gofia am ei ragflaenwyr teilwng. Diolcha i'r brodyr Thomas Harris, Dewi Elfed, William Lewis, y beirdd, a'i derbynwyr hael ac hawddgar, am eu cynnorthwy egniol, yr hyn, yn nghyd a'r argoelion addawol am welliant a chynnydd yn mhob rhan o'r gwaith da yn Nghymru a'i calonoga i wneuthur ymgais am flwyddyn etto, ac i udganu o galon—

Am Flwyddyn newydd dda i'r Saint,
Eu braint fo byw yn well;
Boed hiraith calon ar bob un
Fyn'd i'r gorllewin pell.
Gwnaed pawb i ddyfal weithio 'nawr
Mae'r gwaith yn fawr yn wir,—
Nid neb a gadwa segur law
A draw i Seion dir.

---

## CAN NOAH.

Mae'r bobl yn cynhyrfu,
Yn fychain ac yn fawr,
Rhyw lu sy'n gwrthwynebu,
Trwy'r Gogledd dir yn awr;
Hwy haerant nad oes anghen
Am Fedydd ar y daith,—
Heb hwnw ceisiant wynfyd
Am dragwyddoldeb maith.

Ond clywch, mae camsyniad au
Yn llywio pawb trwy'r lle,
Ni fynant hwy ddim credu
Yn ngeiriau Brenin ne',
Nac ufyddhau i'w gynghor,
Trwy ddo'd at fedydd dw'r,
Lle gellir cael maddeuant,
Mae'r bardd yn ddigon siwr

Fe reoleiddiwyd Eglwys
Ein Duw y dyddiau hyn,
Yn unol â gorchymyn
Y Gwr fu ar y bryn;

Mae ynddi apostolion,
Prophwydi yn ddi-wad,
A Duw yn rhoi gwybodaeth
I'r gonest yn ein gwlad.

Am hyny, frodyr ffyddlon,
Sy 'nawr yn Babel dir,
Cyfodwn oll ein penau
Yn hyf i ddweyd y gwir,
A thystiolaethu'n gadarn
Wrth bawb lle 'rym yn byw,
Fod Duw yn galw'i bobl
Tu draw i'r môr i fyw.

PENCRYCH.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

COSTIA peint 3c o ddiod y dydd, am un flwyddyn, swm a brynai ddau grŷs, dau bâr o hosanau, dau bâr o esgidiau, siacced ffwstian, siaced fach, pâr o lodrau, cap, siacced isaf wlanen, llian garw, clogyn, neisied wddf, dau bâr o *sheets* cotwn, a dwy flanced fawr.

CYFEIRIAD—Mr. Abednego Williams, 1, Graham Street' Merthyr Tydvil

DERBYNIADAU AM LYFRAU O RHAG, 4 HYD ION. 5.—Edward D. Miles, 7s 3c; T. Rees, £1; T. Stephens, £8 11s 6½c; J. Jones, 10s; Thomas Jones, 15s 8c; John Davies, £3 12s 6½c.

ETTO, am draethodau,—M. Vaughn, £2 10s; T. Stephens, £8; E. D. Miles, £1 12s 9c; T. Jones, 8s 4c; G. Roberts, 12s 6c; W. Ajax, 7s; J. Davies, 7s 6½c.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 2.] IONAWR 24, 1857. [CYF. X.

## LLYTHYR CADBEN D. JONES.

*(Gyda y Brawd Henry Harries.)*

Fort Laramie, Medi 18, 1856.

Anwyl Frawd Daniels.—Tra y mae yr anifeiliaid yn pori a minnau yn ymbarotoi i foreufwyd, ysgrifellaf dipyn o'm hynt i chwi etto, a chan na feddaf ysgrifell nac inc, er's wythnosau, gwnewch eich goreu i ddeall ysgroliau y plwm hwn. Y tro olaf yr ysgrifenais attoch oedd o gylchoedd yr Elk Horn, ar y fan hono lle y cawsom ni y *Stampede* fyth-gofadwy hono pan yn myned i'r Dyffryn y tro o'r blaen. Er y pryd hwnw y mae genyf lawer i'w ddweud, pe caniataai amser. Nid hir, er hyny, y buoch chwi, a llawer o frodyr hoff ereill, yn enwedig gwaith fy Nuw sydd dan eich gofal, allan o'm cof. Yr hwn a'i bia a'i bendithio, ac a'i llwyddo beunydd, yw fy ngweddi o hyd, canys bythol caraf ei les.

Nid oes etto mo bythefnos er pan gychwynasom o Florence, ar y daith hon, ac yr ydym eisioes dros bum cant milltir tua ei therfyn, a phawb yn iach a heinyf. Gan gymaint y galwadau a'r frwdan i gychwyn miloedd o Saint eraill ar hyd y daith hon, ni chefais braidd amser i gofio mai tua'm cartref yn Seion hoff yr awn, lle triga'm hanwylaf, ie, fy anwyliaid yn fy aros, pa rhai a hiraethant am fy ngweled lawer gwaith er's pedair blynedd a thridiau; na, fel breuddwyd oedd i mi fy mod ar y

ffordd i gwmni hoff a duwiol frodyr, yno i gyd fwynhau gorfoledd yr iechydwriaeth yn Seion. A wyddoch chwi, frawd Daniels, pa beth a'm dihunodd fwyaf. ac a'm gorfododd i gredu fy mod, o ddifrif, yn dychwelyd yno yn awr? Beth meddech pe gwelech y buffalo wrth y miloedd yn prancio o amgylch i chwi, pe dangosai y bleiddiaid hyll eu dannedd ysgyrnigog i chwi o bob ochr, a'r antelopes eu cotiau gwynion—pe gwelech benau y mynyddoedd pell tu draw i'r plains mawrfrydig? Yna, credaf y coeliech chwithau, er mor syn, nad breuddwyd yw. Wel, caf argoelion prawfadwy bob edrychiad yn mlaen mai yn mlaen o hyd,—yn mlaen y mae Seion.

Teithiwn ni yn bur wahanol i'r cwmnioedd eraill. Awn ar garlam o hyd trwy bob peth a'n cyferfydd—yn aml iawn hanner cant milltir, neu ychwaneg, mewn diwrnod, a deg neu ddwsin o hyny cyn goleu-ddydd, a hyny neu ychwaneg yn y nos. Mae yr Indiaid mor elyniaethus ar hyd y ffordd y daethom, fel mai braidd y meiddiem aros yn y nos, rhag iddynt syrthio arnom, a'n lladd. Gorphwysasom, gan mwyaf, yn ngoleu ddydd, lle y gwelem o bell y sawl a ddeuai. Wrth wneuthur felly, diangasom rhag llawer perygl.

Mae amryw gwmnioedd bychain wedi eu lladd gan y Cheyennes, (Indiaid) eleni ffordd y daethom. Pan y galwasom yn Fort Kearney, daeth dyn unigol yno a deithiasai 50 milltir ar draed wedi bod allan yn hela, ac a'n hysbysodd fod cwmni cyfan wedi eu lladd, yn mhlith pa rhai yr oedd y Thomas Margetts hwnw a wnaeth gymaint o annuwioldeb yn mhlith y Saint yn Llundain. ac a ysgymunwyd am hyny. Lladdwyd hefyd ei wraig a'i faban, a gwrthgiliwr dychweledig arall o'r Dyffryn o'r enw Cowdy, a'i wraig a'i blentyn.

Ychydig ddyddiau cyn hyny ymosododd yr Indiaid ar wersyll A. Babbitt, ac a laddasant bob enaid ond un bachgen ieuanc ag oedd yn Sant ffyddlon, yr hwn a roes i mi hanes manwl o'r oll. Dywed i un fenyw o St Louis, ynghyd a'i baban, gael eu lladd tra yn eu gwely yn y wagen. Saethodd yr Indiaid bob un arall perthynol i'r cwmni, ac yspeiliasant y nwyddau mwyaf gwerthfawr, a deugain o ychain. Gwelais y waggeni, hol y peleni, a'r gwaed. Gelynion i'r Saint oedd yr holl rhai a laddwyd, ond y wraig a'i baban, ac yr oedd hithau wedi ei hesgymuno yn Saint Louis. Dygasant ei chorff ymaith, eithr

gadawsant ei dillad isaf yno yn waedlyd a rhwygiedig. Ychydig amser cyn hyny, ruthrasant ar y *mail*, yr hwn a ffodd o'u blaen hyd ddorau Fort Kearney, gan daflu allan ddillad, &c., ar hyd y ffordd, i'w hoedi hwynt. Rhuthrodd y fyddin allan o Fort Kearney i'w cyfarfod; lladdasant ddeg o honynt, a ffodd y lleill yn fileiniach nag o'r blaen. Lladdwyd cwmni arall o Galifforniaid oll, ond un; ac yn olaf, maent wedi cael Col. Babitt, ysgrifenydd tiriogaeth Utah, ei hun, i'r ddalfa, ar ol ei holl ymffrost. Gwelsom yr eryrod yn bwyta ei gnawd ef a'r ddau oedd gydag ef. Er cymaint cynddaredd y dynion gwylltion hyn, mae yn ffaith werth ei chyhoeddi hyd bendraw byd, na niweidiwyd gymmaint ag un o'r holl filoedd o'r Saint sydd ar hyd y ffordd yma, ac o bob ochr braidd i'r lladdfan. Ni ladrasant un o'u hanifeiliaid, ac ni welais un o'r Saint a gronyn o'u hofn; eithr ynghanol torf o dair mil o'u rhyfelwyr, brodyr a chwiorydd, a phlant hefyd, yn siriol siglo dwylaw, a hwythau (yr Indiaid) dan chwerthin, yn gwaeddi *Mormon good good. no shoot Indian.*

*Croesiad Uchaf y Platte, Medi 27ain.*

Methais gael hwn yn barod i'r *mail* yn Laramie, a chaf gyfleu i'w anfon i chwi yn awr gyda y cwmni o genhadon sydd ar eu ffordd i Loegr, &c.

Cyfarfyddais yma, (yn nghroesiad uchaf y Platte) a'm brawd (Edward Jones) a'i wedd, ac arosais, fel yr elem a'r peiriant dyrnu adref gyda ni.

Y mae newyddion cysurlawn o'r Dyffryn yn fy ngyfarfod yn ddyddiol. Pawb o'm heiddo yn iach, a'r eiddych chwithau hefyd.

Mae y cwmni ar gychwyn—*stories* byrion, onite? Duw ein tadau a'ch bendithio chwi, a phawb o'm cydnabod, yw'm gweddi fyth.

Eich Brawd,

D. JONES.

---

## "MESUR OEDRAN CYFLAWNDER CRIST."

(*Ateb yr Henuriad Evan Rees i ofyniad ei Dad.*)

*Nantyglo, Ionawr 1af, 1857.*

Fy Anwyl Dad.—Ar eich cais mi a gynnygiaf roddi yr glurhad a geisiasoch ar yr adnod 13 o'r bennod 4 o'r Ephesiaid—

"Hyd oni ymgyfarfyddom oll mewn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw yn wr perffaith at fesur oedran cyflawnder Crist." Y gofyniad, os ei iawn ddeallais, ydyw "pa beth sydd i'w olygu wrth fesur oedran cyflawnder Crist," &c.

Cyfaddefaf fod yn y dywediad ddirgelwch diamgyffred, ond i'r cyfryw sydd yn amgyffred *pa beth ydyw dyn yn ei wreiddioldeb* neu yn ei ddechreuad cynhenid. Dilys y deallai yr Apostol y dirgelwch hwn yn drwyadl, cyn y beiddiai amlygu ei honiad a'i ymestyniad ef a'r Ephesiaid i gyrhaedd o'u cyflwr anmherffaith i berffaith sefyllfa fendigedig Crist.

Arweinia hyn nyni i feddwl fod gan yr hil ddynol hawl-fraint i etifeddiaeth Crist, ac, wrth ddarllen yr adnodau blaenorol, i ddeall fod gan Bennaeth pob bodau deallawl, awydd i'w gosod mewn meddiant o honi, yr hyn a amlygir yn ei ddanfoniad o'i weision awdurdodedig yn bennodol i'r perwyl. Gesyd hyn feddwl uchel-frydig mewn dyn, yr hwn, yn naturiol, a ofyn ynddo ei hun, Pwy ydwyf? O ba le y daethum? Os oes sefyllfa well o'm blaen, pa beth yw fy is-sefyllfa yn awr? Paham y sylw yma o honof fi, tybed?

Pan y deillia rhyw etifeddiaeth neu sefyllfa ddaearol i ddyn tlawd, digwydd yn gyffredin oherwydd ei fod yn etifedd neu berthynas cyfreithlawn i'r rhoddwr neu y meddianydd o'r cyfryw, ac yn aml cymmerir trafferth i olrhain i wreiddioldeb y fath ddyn er cael prawf o'i hawl-fraint.

Yn ein holrheiniad i wreiddioldeb dyn cawn hanes yn yr ysgrythyrau santaidd, mai hiliogaeth—meibion a merched y Duw Goruchaf ydyw yr hil ddynol. Gwyddom nad mewn ystyr gnawdol. Yn mha ystyr ydym ni yn hiliogaeth Duw ynte? Ffaith a gredir yn gyffredin yw fod gan ddyn gorph ac ysbryd, ac nad un ydyw y ddau, er y triga yr olaf yn y blaenaf, fwy nag y mae person a'r ty y preswylia ynddo yn un. Arweinir ni i olrhain yn mhellach o ba le y daeth ein *hysbrydion* ynte, gan nad yw Duw yn dad i ni mewn ystyr gnawdol. "Yr hyn a aned o gnawd sydd gnawd" medd ein safon ddwyfol, tra y dywed hefyd mai ysbryd yw Duw (Ioan iv., 24) a THAD ein *hysbrydion* ni. Hebreaid, xii, 9—"Heblaw hyny ni a gawsom dadau ein cnawd i'n ceryddu, ac a'u parchasom hwy; onid mwy o lawer y byddwn ddarostyngedig i Dad yr ysprydoedd, a byw." Etto, Salm lxxxii, 9.—"Myfi a ddywedais, *Duwiau* ydych chwi, a *meibion y Goruchaf*.

ydych oll." Pa gydmariaeth sydd rhwng dyn gwael a marwol a'r hollalluog Dduw, yr hwn sydd yn llywodraethu yr elfenau fel y myno? Pa beth yw y gwahaniaeth rhyngddynt? Cyffelyb ag yw y gwahaniaeth sydd rhwng dyn mewn llawn oed, gallu, a dealltwriaeth, a baban egwan a diddeall. Enfyn boneddwr blentyn i'r ysgol, lle ei ddisgyblir, o wers i wers, os bydd yn ufudd, hyd oni chynydda, fel yr heneiddia, fel, pan gyrhaeddo oed gwr, bydd gymwys i fod yn ogyfuwch a'i dad, yr hwn a lawenha i'w osod yn gydradd ag ef. O'r ochr arall, os yn anufydd y bydd, gwrthoda ddysg, ni fydd yn alluog i sefyll yn lle ei dad, yr hwn, o drugaredd atto, a'i gesyd yn rhywle cyfattebol iddo. Anfonir rhai meibion afreolaidd i'r fyddin neu y llynges, &c. a thorir hwynt ymaith ag ychydig gyfran.

Addefir fod Iesu Grist yn cyn fodoli yn y nef, ac iddo ymddarostwng a dyfod i waered yma i breseb gwael, i gymmeryd corph o gnawd, er cyflawni amcan mawr y brynedigaeth. Darllenwn i Nebuchodonosor weled Ysbryd Crist yn y ffwrn dan gyda y tri llanc. Dywed yr Iesu ei hun, "Cyn bod Abraham yr oeddwn i;" ac yn Hebreaid, vii, 3, darllenwn ei fod "*cyn bod y byd*," Ioan xxvii, 4.—"Mi a'th ogoneddais di ar y ddaear; myfi a gwblheais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur. Ac, yr awrhon, O Dad, gogonedda di fyfi gyda thi dy hun a'r gogoniant oedd i mi gyda thi *cyn bod y byd*." (Darllener yr oll o'r bennod.)

Os bodolai Ysbryd Crist, ein brawd henaf, cyn bod y byd, ac y preswyliai yn nghartref ei Dad, paham nad oeddem ninnau, ei frodyr ieuangaf, yno hefyd?

Gelwir Crist, oherwydd ei hynodrwydd a'i ogoniant, yn *seren*. Cyffelyba yr ysgrythyrau fodau i ser yn aml, oherwydd eu daioni a'u goleuni. Addawir i'r sawl a droant lawer o eneidiau at Dduw gael dysglaerio fel ser y nef mewn gogoniant, byth ac yn dragywydd. Addawid yn Numeri xxiv, 17, y deuai seren, (sef person neu fod) o Iacob, &c. Cyffelybid hefyd, eglwys o bersonau i ser Pan yr oedd y diafol heb syrthio, gelwid ef yn Lusiffer, mab y wawrddydd. Cawn iddo dynu traian ser y nef neu yr angylion syrthiedig, ar ei hol. Yn Dad. xxii, 16, gelwir Crist yn Seren Foreu Eglur. Ai tybed fod ychwaneg o ser boreu? Cawn fod yr Iesu yn gyntaf anedig yn mhlith *brodyr lawer*.—Rhuf. viii, 29.

Nid yn unig ein Brawd Henaf a weddiai pan yn ei brofiad chwerw, ond cawn fod eraill hefyd. Pan yr oedd Iob dan lem

ddisgyblaeth yr ysgol ddaearol hon, ymwelodd ei Dad tirion ag ef, a gofynodd, er ei gysuro, "Pa le yr oeddit ti pan sylfaenais i y ddaear? mynega, os medri ddeall, pwy a osododd ei mhesurai hi, os gwyddost? neu pwy a estynodd linyn arni hi? pan gyd-ganodd *ser y boreu*, ac y gorfoleddodd *holl feibion Duw*." Pa le yr oedd Job y pryd hwnw, tybied? Yn cydganu gyda y lleill o feibion Duw, neu *ser y boreu* am y fraint o gael dyfod i ymgnawdoli ar wyneb y ddaear, yr hon a gynorthwyai i'w chreu, felly deuai yn gyffelyb i'w Dad.

Dengys pennod gyntaf Genesis fod yno luosawgrwydd o Dduwiau, gan y dywed *awn*, ac nid *af*. Y fath gysur i blentyn Duw pan yn chwerwdod ei brofiad yn yr ysgol hon! Ei ddewis a'i gais oedd dyfod iddi, er nad ydoedd yn cofio; canys, fel ei frawd hynaf, "yn ei ymddarostyngiad ei farn a gymerwyd oddiarno," hyd nes yr oedd yn faban egwan ac anneallus.

Hyderir fod yr uchod yn ddigon i argyhoeddi y bibl gredadyn gonest o gyn-fodoldeb ein hysbrydion, ac o *wreiddioldeb dyn*, gyda yr hyn a ychwanegir fod Duw wedi dweyd wrth yr hen brophwyd Jeremiah (i, 5)—"Cyn i mi dy lunio di yn y groth, mi a'th adnabum, a chyn dy ddyfod o'r groth y santeiddiais di; a mi a'th roddais di yn brophwyd i'r cenhedloedd.

Pe perthynai i'n pwnc, ychwanegwn fod gan yr ysbrydion yn y cynfyd rheolau i fyw wrthynt, cyn y gallasai Lusiffer, mab y wawr-ddydd, a'r drydedd rhan o honynt, wrthryfela, a syrthio, ac fod rhai o'r ysbrydion daionus, yn ngwyneb hyny, wedi bod yn ddewrach nag eraill, am yr hyn eu tra dyrchafwyd, ac yr etholwyd hwynt i brif swyddi yma. Dewiswyd yr Iesu, yr henaf o honynt i fod yn benaf, ac yn Iachawdwr i'w holl frodyr. Dywed y Salmydd, (xlv, 7.) "Ceraist gyfiawnder, a chaseaist ddrygioni; am hyny y'th enneiniodd Duw, sef dy Dduw di, ag olew llawenydd yn fwy na'th gyfeillion."

*(I'w barhau.)*

---

## ANNERCHIAD HENRY HARRIES AT Y SAINT YN NGHYMRU.

*Swyddfa "Udgorn Seion," Ionawr* 16, 1857.

Anwyl Saint yn Nghymru.—Wedi derbyn fy mhenodiad gan y Brif Lywyddiaeth, yn Seion, i ymweled a gwlad fy ngenedig-

aeth, ac awdurdod i weinyddu yn yr ordinhadau eglwysig sydd berthynol i'm swydd, cychwynais o Ddinas y Llyn Halen Mawr ar y 10fed o fis Medi diweddaf, yn nghwmpeini tua 27 o genhadon eraill a anfonid i wahanol rhanau o'r ddaear, i bregethu yr efengyl, &c. Dywedaf mai dynion egwyddorol, a'u holl fryd yn ngwaith yr Arglwydd oeddynt oll. O! mor hyfryd oedd cyddeithio a'r fath ddynion a rodient yn y fath undeb a chydweithrediad, fel y tynai fendithion graslawn y nef i waered arnom! Croesasom y gwastadedd yn gyflym a llwyddianus, a gallwn ddweyd i law yr Arglwydd gael ei amlygu yn fawr tuag tatom, ac at yr holl gwmnioedd o'r Saint a gyfarfuasom yn myned i'r Dyffryn, tra y lladdwyd eraill ag oeddynt yn elynion i'r Saint ac yn wrthgilwyr oddiwrthynt, ac y dygid eu hanifeiliaid, a'r oll a feddent, gan yr Indiaid. Erchyll oedd y driniaeth a wnaeth yr Indiaid ar gyrph rhai gwrthgilwyr a gychwynasant o'r Dyffryn ychydig o'n blaen ni, gyda llawn fwriad i wneuthur a allent o niwed mewn modd twyllodrus. Gwnaethant eu heithaf i geisio digaloni y Saint ymfudol ar y gwastadedd, a'u perswadio i droi yn ol gyda hwynt, fod dynion yn newynu yn y Dyffryn, &c. Er hyn oll, ni lwyddasant i droi un. Teimlodd y Saint yn rhagorol, yn enwedig pan ddaethom ninnau a'r gwirionedd, a phrofi yn amgen, ac mai dynion drwg yn carlamu i ddistryw oedd y celwyddwyr gwrthgiliedig a drwg-fwriadol hyn. Cyn pen nemawr ddiwrnodau gwiriwyd ein geiriau er tystiolaeth i'r Saint, a rhybudd i bawb o'r fath—darniwyd y dynion hyn gan yr Indiaid. Yr oedd llaw yr Arglwydd yn eglur yn gwared ei holl saint, tra y laddwyd pedwar cwmpeini o rhai eraill, o'r fath a nodasom, ynghyd a chenhedloedd drygionus ac allan a dynent farn Duw cyfiawn arnynt.

Ni rhaid i'r saint ffyddlon ofni dim, canys y mae *pob peth* yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw. Gwelais yn amlwg law yr Arglwydd tuag attaf yn y Talaethau yn agor y ffordd o'm blaen i gael modd i gael fy ngludo dros y mor. Teithiais gannoedd o filltiroedd yno, a chyfarfyddais a ffrindiau bron yn mhob man ag y bum. Yr oedd Cymry mewn amryw o'r llefydd hyn, yn saint ffyddlon, ac yn danfon eu cofion, &c., at eu perthynasau a'u cydnabyddiaeth yma. Maent yn rhy aml i mi nodi yma; eithr hysbysaf yr oll pan gaffwyf y fraint o'ch gweled wyneb yn wyneb. Yr oedd braidd pawb o honynt yn gwneud

yn dda, ac yn teimlo yn rhagorol, yn enwedig yn y lleoedd canlynol,—Florence, Nebraska Territory, Grapoi, Missouri, Caseville, Illinois, Pottsville, a Minersville, Pensylvania, a Williamsburg, New York.

O New York, hwyliasom ar fwrdd y llong *Guy Manuering.* Cawsom fordaith gyflym o ddim ond 21 diwrnod. Yr oedd yn arw creulon ar droion, ond nid oedd, ar y cyfan, gynddrwg mordaith ag eiddo yr Apostol Paul i Melita Ni chollwyd un bywyd na'r llong ychwaith; ond niweidiwyd y *cargo*, yr hwyliau, a'r *life boats*, a llawer o'r morwyr—eurwyd hwynt gan y tonau, a briwiwyd esgyrn rhai. Ni ddigwyddodd un niwed i ni, ac nid oedd arnom fraw ychwaith. Y rheswm o hyny oedd o herwydd i ni gael ein bendithio cyn cychwyn,—sicrhawyd i ni, ar yr amod o'n ffyddlondeb a'n rhodiad addas, y caffem ddychwelyd i Seion mewn heddwch. Gwyddem nad oeddem wedi myned dros ein terfynau, ac yna fod y fendith yn sicr i ni, ac i'r ffyddlon dros fyth. Hyderaf y byddwch chwithau fyw yn ffyddlawn, fel y caffoch y bendithion sydd yn stor i'r ffyddlawn ac nid i neb arall.

Bendith fawr, yn fy ngolwg, yw cael traed ar dir Seion, er fod yr hen Babilon yn hardd a chyfoethog i'r llygad anianol, ond i mi y mae yn ffiaidd i glywed y cabl draethu, rhegi, a'r dwndwr, gweled y trais, gormes, lladrad, llofruddiaeth, cybydd dod, puteindra, meddwdod, &c., sydd yn cael eu cario yn mlaen yma. beithiaf mai amser byr fydd rhaid i mi aros yma, ac nid myfi yn unig, ond pawb o'r Saint Draw mae y lle—draw mae fy nghartref i, a phawb eraill sydd yn caru cyfiawnder, sobrwydd, heddwch, a thangnefedd.

Gofynaf am rhan yn ngweddiau y Saint, fel y gallwyf gario allan yr egwyddorion hyn, a'u dysgu i eraill, fel y caffwyf ddwylaw glan oddiwrth pawb oll, ac y bydd i chwi a minnau gael cyd-lawenhau a gorfoleddu yn Seion.

Yr Arglwydd a'ch bendithio, a'ch gwaredo, ac a'ch dygo allan o Babilon, ydyw fy nymuniad, yn enw Iesu Grist. Amen.

HENRY HARRIES.

# UDGORN SEION.

NEU

## Seren y Saint.

DYDD SADWRN, IONAWR 24, 1857.

CYRHAEDDIADAU CENHADON.—Cyrhaeddodd yr Henuriad Samuel Roskelley pan yr oedd ein rhifyn blaenorol yn y wasg Cyrhaeddodd yr Henuriad Henry Harries, "Talog," nos Fawrth, 13eg, mewn iechyd a hwyl rhagorol. Dilys y cymer y Saint ddyddordeb mawr yn ei Annerchiad attynt; a'i eiriau oddiwrth frodyr a chwiorydd, a thylwyth a ffryndiau, pan geir tipyn o *chit chat* yn ochr y tan, fyddant yn roesawgar.

APWYNTIR yr Henuriad Samuel Roskelley i deithio trwy Gynnadleddau Brycheiniog a Mynwy, a dosbarth Caerdyf o Gynnadledd Ddwyreiniol Morganwg; yr Henuriad Henry Harries i deithio trwy Gynnadleddau Caerfyrddin, sir Aberteifi, a sir Benfro; a Dewi Elfed Jones i deithio trwy ddosparth uchaf Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, a thrwy Gynnadleddau Gorllewin Morganwg a Llanelli.

Mae y brodyr uchod i fyned yn ol cyfarwyddyd Llywyddiaeth y Cynnadleddau lle eu danfonir.

DYLEDION AM LYFRAU ar gynnydd o hyd. Hyderwn mai dechreu y flwyddyn newydd yw dechreuad ymdrechiadau i'w difa o'r golwg.

BUSNES.—Gorfoda amldra gorchwylion ni i ddeisyf ar ein brodyr llywyddol i ysgrifenu eu cyfrifon a'u gorchwylion arianol ar wahan oddiwrth eu gohebiaeth, &c. Nid unwaith yn y dydd y mae gan y *Clerk* ddarllen llythyr hir o ben i gilydd er cael gafael yn yr un *item* arianol yn mhlith eraill a fyddo ynddo, a chwilio fel pe byddai am nodwydd mewn das.

Anfoner y pethau canlynol ar ben eu hunain, ac ar bapurau gwahanol—archion am lyfrau—taliadau—enwau ymfudw[illegible] hanesion eglwysig, &c., yn y modd mwyaf cynnwysfawr a chryno a ellir.

TALU DEGWM.—"At Olygydd "Udgorn Seion."—[illegible]nwyl Frawd.—Dymunaf arnoch, drosof fi, i ateb y gofyniad canlyn-

ol, fel y rhoddo fwy boddlonrwydd i'r ychydig a'i gofynant, sef a ydyw yn ddyledswydd ar y Saint i roddi ambell bryd o fwyd, &c., i Lywydd Cynnadledd, neu Henuriad Teithiol, heblaw talu y degwm."

Ydwyf,

SION EDWART——"

Addefwn mai cymmaint a all ambell i sant wneud yw talu ei ddegwm, a chynal ei deulu, tra y mae eraill a allant yn rhwydd wneuthur llawer yn ychwaneg na hyny. Ein hystyriaeth am ddyledswydd ydyw yr oll a allo dyn ei wneuthur. Pe byddai dau ddyn yn feddianol, y naill ar geiniog, a'r llall ar bunt weddilliol, ac y gofynai yr Arglwydd yr holl a allai pob un o honynt gyfranu, ymddengys i ni y byddai mor ddyledus i'r naill roddi ei bunt mor drylwyr ag y byddai i'r llall rhoddi ei geiniog. Os yr hyn yn unig a ofyna cyfraith genym a wnawn, pa faint mwy, tybed, y bydd ein cyfiawnder nag eiddo yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid? Ni ystyriodd yr Iesu ei fod yn fwy i ofyn i'r cyfoethog hwnw werthu a feddai, a'i rhanu rhwng y tlodion, nag oedd i unig ddwy adling y weddw dlawd gael eu derbyn. Perthyna cyfraith y degwm i bob dyn a benyw o fewn y byd, ac fe ddaw yr amser pan ei gorfodir ar y cenhedloedd anufudd fel teyrnged i Seion. Oni ddylai y saint ragori ar blant y byd? Pan wnelont yr oll a orchymynir, a pheidio a gwneuthur ychwaneg, dywedir yn y diwedd mai "gweision anfuddiol" ydynt.

Hyderwn fod gan bob sant ddigon o oleuni yr efengyl dragywyddol i ganfod ei ddyledswydd, ac i ymgeisio am ei lesiad trwy ei gyflawniad. Ein teimlad ni at waith Duw ydyw, pe meddem yr holl fyd, na chaffai ein henaid well gwledd na'i roddi yn gyfangwbl i sefydlu llywodraeth yr Arglwydd ynddo. Pa orchest-waith yw roddi pryd o fwyd tra y gwyddom fod y blawd wedi peidio a methu yn y celwrn, ac fod bendith Duw Israel ar hyny a gyfranwn iddo Ef. Ie, iddo Ef, meddem, nid i'r Llywydd neu yr Henuriad teithiol, ac fe ddaw yr amser pan y telir y cyfranwr a'r derbynydd a chan cymmaint am eu trafferth yn y byd hwn, heblaw bywyd tragywyddol yn yr hwn a ddaw.

Byddwn fyw tu uchaf i'r gyfraith, canys o herwydd trosedd ei hychwanegwyd, a chofio cyngor yr Apostol gyda llaw, sef

"Byddwch helaethion yn wastadol yn ngwaith yr Arglwydd, a chwi yn gwybod nad yw eich llafur chwi yn ofer,"

---

RHYBUDD.—Na dderbynied y Saint, i unrhyw Gangen o'r Genadiaeth Gymreig, unrhyw berson a gymmer arno i fod yn swyddog; ac na chynnorthwyont y fath un, nad peth a fuodd efe, heb fod ganddo apwyntiad rheolaidd i deithio trwy y cyfryw le.

---

## DYSGEIDIAETH YR APOSTOL BENSON.

(*Parhad o tud. 9.*)

A YDYCH chwi yn galw eich teuluoedd yn nghyd yn y boreu i weddio; neu, a ydych chwi yn cysgu yn rhy hwyr i allu ei wneuthur? A ydych chwi yn cadw trefn yn eich tai?—yn gwneuthur i bawb o'ch teulu i blygu y glin o flaen yr Arglwydd? A ydych chwi yn *byw eich crefydd*? A ydych chwi wedi taflu ymaith eich pibell ddybaco? Yr ydwyf fi, neu ni soniwn am dani. A ydych chwi wedi gwaredu eich blwchsnyff, eich potel whiskey, ynghyd a phob peth neu weithred ar sydd dueddol i dristau neu aflonyddu Ysbryd yr Arglwydd neu eich brodyr? Pa fath olwg fyddai arnaf fi yn pregethu dros y pwlpud hwn a *chew* ddybaco yn nghil fy moch? Pa fodd y mae yn gweddu Henuriaid Israel i fyned oddiamgylch i bregethu a phibellau yn eu cegau? A aiff y rhai a smociant ac a gnoant ddybaco, neu a yfant ddiodydd meddwol a gwirod poethion, tua Seion? neu, os ant yno, a wnant hwy unrhyw ddaioni yno? Gofynaf hyn i bobl ieuanc iachus, cryfion, ac heinu.

Gadewch y pethau hyn, a chwi a fendithir. Pe gofynwn i'r hen frawd penfrith yma os ydyw efe yn ymarfer â'r fath bethau, efe a ddywedai nad ydyw. Cyferbynwch hyn â'r hyn a ddywed rhai pobl ieuainc [mewn tôn gwynfanus]—Mae fy archwaeth mor wàn - y blys yn annyoddefol—*ni allaf* wneuthur hebddo.

Y mae eraill a gadwant y Gair o Ddoethineb am yspaid, ac a'i torrant drachefn. Adgoffhant fi o ystori am hen feddwyn hynod a drigai yn Massachusets. Aeth i *signio* dirwest. (Y mae ein cyfeillion sectarol mor fanwl fel y dosparthant ddirwest, a phethau da eraill o'r fath, ar ben eu hun, ar *wahan* odd-

iwrth yr hyn a alwant yn grefydd. Felly, unpeth yw dirwest, a *pheth arall* yw eu crefydd hwy, yn ol y resymeg hyn. Cynnwysa fy nghrefydd i bob peth ag sydd yn dda. Os cyflawnaf unrhyw weithred na pherthyna i'm crefydd, rhaid ei bod yn weithred *anghrefyddol*, ac os hyny, yn *annuwiol*. Ond, i ddychwelyd at ein 'stori—) Ni dderbynid y meddwyn i'r gyfundeb ddirwestol ond ar yr ammod iddo allu myned heibio i dafarn-dy heb droi i mewn, Ymegniodd y meddwyn, ac heibio y tafarn-dy yr aeth yn ddibetrus am ychydig ffordd, pan y sefodd yn ddisymmwth, a chan guro a chanmol ei fola, dywedodd, *Well done*, penderfyniad, dere yn ol i'r tafarn i gael *treat*.

Pa beth bynnag a hauoch hyny a fedwch. Os gwenith a hanir, gwenith a fedir—os pytato yr hâd, pytato y cnŵd. Os hauwch i'r cnawd, chwi a fedwch lygredigaeth: os hauwch i'r Ysbryd, chwi a fedwch fywyd tragywyddol. Dyna air yr Arglwydd.

Mae yr Efengyl yn ganfyddadwy, eglur a syml. Pa beth a ofyna gan Saint y Dyddiau Diweddaf? I gadw y Gair o Ddoethineb a bregethwyf heno. A ydwyf fi yn gofyn i'r chwiorydd oedranus i ymwrthod â'u tê, a'u cyffelyb bethau? Nac ydwyf, oddieithr eu bod yn teimlo i'w wneuthur. Ond llefaraf hyn wrth rhai sydd ieuangach, Dichon y gofynant, Pa beth a wnawn â'r arian a ystoriwn felly? nid ydynt yn swm ddigonol i osod yn Swyddfa Lerpwll gogyfer a'n mhudiad ac y maent yn llosgi yn ein llogellau—*rhaid* i ni eu gwario!

Rhaid iddynt brynu boneti a ribanau heirdd, neu rhyw wag bethau o'r fath: *rhaid* eu gwario pe gorfodid treulio noswaith i ddyfeisio pa fodd. Dywedaf wrth y Saint tlodion pa fodd y mae yr Arglwydd yn bwriadu eu gwaredu—*ar yr egwyddor geiniogol*. Deuaf mor isel a cheiniog. Arbedwch eich gweddilliol geiniogau, chwecheiniogau, sylltau, &c., taflwch hwynt i'r dryssorfa geiniogol, a gwareder chwi.

Mae amryw wedi derbyn a chyflawni egwyddor y degwm, ac nid ydynt wedi cael eu hunain yn dlotach trwy hyny, ond yn gyfoethocach mewn ffydd ac ym mendithion yr Efengyl dragywyddol. Gwyddont pa beth a fedant wrth hau mor haelionus. Trwy hyny yr adeiledir Teml yr Arglwydd' lle y derbyniant eu cynnysgaethiadau—y cant allu yr Offeiriadaeth,

dragywyddol, a'u gwneuthur yn arogl bywyd i fywyd—yn iachawdwyr i'w hynafiiaid mor belled yn ol ag yr anghenant un, ac hefyd i achub eu hiliogaeth. Os na wnewch chwi hyny, bydd gan rhywrai eraill ei wneuthur. Dadguddiwyd yr egwyddor o ddegymu ar y Fishing River, er's tua ugain mlynedd yn ol.

Pa beth arall a ofynir oddiwrthych? Am i chwi bregethu yr Efengyl, dosparthu traethodau, a thystiolaethu â'ch holl nerth. A ydych chwi yn meddwl mai dim ond ychydig Henuriaid a ddylent bregethu yr Efengyl? Gellwch chwi, chwiorydd, ei phregethu, yn ddirgelaidd, wrth ledaenu traethodau, dal eich tystiolaeth, a gwahodd a dyfod a'r bobl yma, i'r neuadd hon, i glywed pregethiad yr Efengyl. Mae arnoch eisieu yr hyn a eilw y Sectariaid yn *ddiwygiad* yn Abertawy, a dyma yr amser am dano, tra eich gwrthwynebir.

Llawer sydd wedi pregethu Pregeth Angladdol Mormoniaeth, a thorri ei bedd; ond pan aethant i'w chladdu *nid oedd yno!* Ni chleddir mo honi chwaith; ond hi a dŷf ac a ymledaena o fôr hyd fôr, ac ar ol hyn fe â yr Henuriaid i bob parth o'r ddaear. Hawyr, bodola Mormoniaeth mewn llawer man heblaw Abertawy. Yr ydwyf fi wedi teithio rhai miloedd o filltiroedd dros wledydd Ewropaidd—Sweden, Norway, Germany, a Denmark, a'r hyn a glywais oedd "Mormoniaid yma, a Mormoniaid acw—yr Henuriaid Mormonaidd braidd yn mhob tref." Y maent hefyd ar hyd holl wyneb y Cyfandir Americanaidd, a nifer ddigonol yn Utah yn unig i ffurfio Talaeth; a phe y byddem oll yno, ffurfiem dair neu bedair talaeth. Aethom i mewn trwy ben cul y corn; yr ydym wedi chwyddo a chynnyddu, ac nid yw o un defnydd ceisio ein gwthio yn ol' rhaid i ni ddyfod allan trwy y pen llydan.

Llawer gwaith ydwyf fi wedi gofyn, "Frawd, neu chwaer, pa bryd y bwriadwch chwi fyned tua Seion?" "O, pan yr ant hwy a mi." "Wel, pwy ydynt hwy? Onid ydych chwi gymmaint yn HWY a neb arall?" Canfyddid y peth yn y man. Beth ynte pe dechreuai "hwy" wneuthur rhywbeth tuag at hyny, ynte? Pa un o'r ddau ymddangosai oreu—i bobl ieuainc, iachus, a galluog fyned i weithio ac ennill modd i gludo eu hunain, neu iddynt gael eu cipio ymaith yn grynswth, a'u gosod i lawr yn y Dyffryn, a roddi pwn o gân iddynt i

ddechreu eu byd, erbyn y bwytant yr hwn y byddant barod i wrthgilio, feallai? Byddai rhyw synwyr mewn myned a chyffelyb yr hen frawd sydd ar fy neheu.

Gofynaf i'r gynulleidfa synwyrgall yma, Pa le mae y modd i fudo y bobl hyn, os nad yn eu plith eu hunain? Ddim yn unlle. Etto, mae yn eu plith rhai sydd a modd ganddynt, ond diffygiant galon i'w gyfranu.

Mae y Saint yn Seion, gan deimlo dros eu brodyr a'u chwiorydd caethiwus yn Mhabilon, wedi cyfranu, at eu mhudo, yr hyn oedd ganddynt, sef gwerth miloedd o ddoleri o feddianau, i'r D. Y. Barhaus, gan feddwl eu prynid gan y saint cyfoethog, er gwaredi y tlodion, heb golled iddynt eu hunain. Ond, a ydynt hwy yn eu prynu? Yr ydwyf wedi teithio miloedd o filltiroedd yn ddiweddar, ac ni chefais ond un marchnedydd brynu werth tua 300 doleri. Gwelir nad yw y cyfoethog, ynte, yn myned i wneud llawer o waith yr Arglwydd.

Gwelaf eich sefyllfa, eich bod yn dlawd. Dywed yr Iesu fod y tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt. A allwch chwi weled, ynte, mor fawr yw eich braint? Pe byddech wedi cael eich geni a'ch magu mewn cyfoeth a moethder, pwy a wyr nad gwrthod yr efengyl wnelech chwithau hefyd? Mae gwaith yr Arglwydd i gael ei wneuthur gan y tlodion. Pa beth a wnewch yn ngwyneb hyn ynte? Trysorwch eich ceiniogau gwastraffedig a gweddilliol. a'r rhai ellwch eu hebgor, tuag at eich mhudiad. Llais yr yspryd yw "ymgesglwch allan o Babilon O chwi Saint." Mynwch lyfr, a dyn da, yr hwn a geidw gyfrif cywir o'ch henwau, a'ch taliadau i'r Drysorfa Geiniogol—un na cheidw beth iddo ef ei hun, os gellwch ei gael, a phan y trysorir digon, allan a chwi, neu aroswch flwyddyn arall i bregethu yr efengyl, os teimlwch.

Pan adewais i y Dyffryn, ar fy nghenadiaeth bresenol, cyflwynais fy holl feddiannau i'r eglwys, i ddwylaw fy mrodyr. Pa beth allaswn i wneuthur yn fwy rhesymol? Pa beth sydd fwy annghyson nag i ddyn ymddiried ei hunan, gorff ac yspryd, i'r eglwys, ond i gadw ei feddiannau allan rhag ofn eu colli, gan ddywedyd, "cymmered yr eglwys fi yn gyfangwbl, ond gwylied na chyffyrddo a'm heiddo! Beth pe dygai y saint eu holl i mewn iddi? gallaf fentro dweud wrthych nad hir yr arhosent cyn yr ychwanegid pob peth ini ar a anghenem.

*(I'w orphen yn ein nesaf.)*

# MYNEGIAD CYFRIFIADOL

O EGLWYS IESU GRIST O SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF YN NGHYMRU, AM Y FLWYDDYN YN TERFYNU RHAGFYR 31, 1856.

*Llywydd.*—Daniel Daniels. *Cynghorwyr.*—Israel Evans a Benjamin Ashby.

*Bugail dros Gynnadleddau y Gogledd.*—John E. Jones.

| *Cynnadledd.* | *Cang.* | *D.T.* | *A.* | *H.* | *O.* | *Ath.* | *Di.* | *Ysg.* | *Ma.* | *Ym.* | *Bed.* | *Cyfan.* | *Llywydd.* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Brycheiniog .. .. .. | 7 | 0 | 0 | 24 | 3 | 3 | 3 | 7 | 1 | 10 | 9 | 132 | J. Thomas. |
| Mynwy.. .. .. .. | 13 | 0 | 0 | 63 | 21 | 22 | 10 | 23 | 3 | 65 | 34 | 377 | B. Evans. |
| Morganwg Ddwyreiniol | 27 | 1 | 0 | 221 | 55 | 55 | 39 | 170 | 22 | 207 | 168 | 1276 | A. Williams. |
| Morganwg Orllewinol | 18 | 1 | 1 | 66 | 13 | 16 | 11 | 15 | 4 | 35 | 38 | 370 | Thos. Harris. |
| Llanelli.. .. .. .. | 6 | 0 | 0 | 38 | 8 | 4 | 8 | 6 | 2 | 81 | 12 | 195 | Dd. Davies. |
| Caertyrddin.. .. .. | 6 | 0 | 0 | 13 | 6 | 1 | 4 | 6 | 0 | 31 | 6 | 80 | Wm. Jones. |
| Sir Benfro ... .. ... | 10 | 0 | 0 | 30 | 4 | 4 | 5 | 27 | 3 | 25 | 26 | 168 | E. D. Miles |
| Aberteifi .. .. | 5 | 0 | 0 | 10 | 3 | 2 | 0 | 2 | 0 | 1 | 5 | 75 | Thos. Jones. |
| Feirionydd .. ... | 4 | 0 | 0 | 10 | 4 | 2 | 1 | 1 | 0 | 24 | 10 | 57 | J. Treharne. |
| Fflint .. .. ... | 6 | 0 | 0 | 24 | 2 | 3 | 4 | 9 | 0 | 12 | 13 | 106 | Thomas Rees |
| Dinbych.. .. .. | 4 | 0 | 0 | 13 | 2 | 3 | 1 | 2 | 0 | 26 | 6 | 89 | Gr. Roberts. |
| Dyffryn Conway a Mon | 5 | 0 | 0 | 13 | 6 | 4 | 1 | 2 | 0 | 11 | 11 | 84 | Wm. Ajax. |
| Cyfanrif .. | 111 | 2 | 1 | 525 | 127 | 119 | 87 | 270 | 35 | 528 | 338 | 3010 | |

Arwydda y talfyriadau uchod y geiriau canlynol:—Cangenau Deg-a-thri-ugain, Arch-Offeiriaid, Henuriaid, Offeiriaid, Athrawon, Diaconiaid, Ysgymunwyd, Bu farw, Ymfudodd, Bedyddiwyd, Cyfanrif.

## DYLEDION AM LYFRAU, RHAGFYR 31, 1856.

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Brycheiniog | 5 | 15 | 2 |
| Mynwy | 50 | 17 | 10 |
| Morganwg Ddwyreiniol | 84 | 10 | 5 |
| Morganwg Orllewinol | 118 | 4 | 11 |
| Llanelli | 54 | 2 | 11 |
| Caerfyrddin | 24 | 14 | 3 |
| Sir Benfro | 6 | 8 | 1 |
| Aberteifi | 16 | 0 | 10 |
| Feirionydd | 10 | 14 | 7 |
| Fflint | 15 | 14 | 5 |
| Dinbych | 15 | 10 | 8 |
| Dyffryn Conway a Mon | 10 | 14 | 2 |
| Swyddfa Lerpwll | 1 | 10 | 0 |
| Cangen Gymreig Lerpwll | 3 | 2 | 5 |
| | £418 | 0 | 8 |

Nid yw y Dimeuau yn gynnwysedig.

Cyfeiriad—E. D. Miles, Dew St., Haverfordwest.

☞ Cofied pawb a fwriadant ymfudo, i anfon eu henwau, &c., i mewn yma mewn pryd i ni allu eu danfon i Lerpwll erbyn y 1af o Chwefror, neu byddant rhy hwyr.

CYNNWYSIAD.



ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 3.] CHWEFROR 7, 1857. [CYF. X.

### "TALU DEGWM."

EI YSGRYTHYROLDEB—Y BENDITHION A FWYNHEID TRWY UFYDDHAU IDDO, A'R AFLWYDDIANT A DDILYNAI EI WRTHWYNEBWYR.

(Un o Draethodau Ymgeisiadol Eisteddfod ddiweddaf y Saint yn Abertawy.)

Wele gynnyg ar y gorchwyl mawr ac anhawdd i mi o wneud y peth a elwir traethawd. Gwelaf fy nhestun wedi ei ddosranu yn dri phen, fel y mae yn amlwg i bawb, a gwnaf fy ngoreu i sylwi ar bob un o honynt heb ddim rhagymadrodd, ond hyn; dymunwn gael ysbryd y testun, ac eglurder meddwl, mewn mor lleied o eiriau ag f'o'n bosibl, a chydymdeimlad pawb i faddeu i mi wall iaith yn mhob ystyr, os cant feddwl da: am ysbryd y testun y chwiliaf, ac nid am iaith na gwobr. Yr wyf wedi meddwl ysgrifenu arno, cyn ei weled yn yr "Udgorn," yn destun cystadleuol Eisteddfod.

1. Talu Degwm, ei Ysgrythyroldeb, neu fel y deallaf fi ef cystal, Ysgrythyroldeb Talu Degwm. Ni ddeallaf wrth hyn fod pob adnod sydd a son am ddegwm ynddi yn angenrheidiol, ond ysgrythyr, a meddyliaf fod ychydig gystal a llawer, oherwydd yr ysgrythyr a roddwyd dan ysbrydoliaeth Duw, ac er fod gwrthdarawiad yn y *Bibl*, mae'r ysgrythyrau'n un; am hyny, gwna un y tro cystal a chant, a'r modd y penderfynwn mai ysgrythyr fydd yr adnod a ddyfynwn, yw wrth y safon *Dadguddiad*; nid

oes dim arall i'w gael yn y byd hwn, beth bynag fydd y cyfrwng a'i rydd. Ond rhag ofn y meddylia rhai nad oes amryw adnodau i'w cael, y lle maent i'w gweled sydd yn Gen. xiv, 20; Lef. xxvii, 30—32; Neh. x, 37; Num. xviii, 21—24; Deut. xii, 6—11, 14, 23—28, 26, 12; Neh. xiii, 5—12; 2 Cron. xxxi, 5—12; Neh. xii, 44; Esay vi, 13; Amos iv, 4; Mal. iii, 8—10; Deut. xiv, 22; Sam. viii, 15. Oddiwrth yr adnodau uchod, gwelwn mai eiddo yr Arglwydd y degwm, a'i fod yn ei roddi yn eiddo yr Offeiriadaeth. "Dyma etifeddiaeth meibion Aaron, medd yr Arglwydd, trwy eu holl genhedlaethau," a chyhyd ag y byddo offeiriadaeth Aaron ar y ddaear, a gwasanaeth ynddi er iachawdwriaeth dynion, sef pregethu, bedyddio, a phethau allanol eglwys Dduw ar y ddaear, a maddeuant pechodau, iachau'r cleifion, a gweinidogaethau angylion, a dadguddiadau yn anhebgorol angenrheidiol er cadwedigaeth dynolryw, a'r bendithion hyn, mewn cysylltiad a chyfreithlonrwydd gwasanaeth swydd Aaron. Yn awr, os rhaid cael iachawdwriaeth cyn bod yn gadwedig, rhaid cael ordinhadau i ufyddhau iddynt, a rhaid gweinyddu ynddynt yn gyfreithlawn, a chlywed am danynt cyn hyny gan weision awdurdodedig Duw, y rhai sydd yn llafurio dros Dduw, ac yn enw Duw, yr hyn waith sydd er gogoniant i Dduw a iachawdwriaeth dynolryw. Addefa pawb nad mwy cyfiawn yw cael bendithion mewn cysylltiad a gwasanaeth cyfreithlawn, nag ydyw tâl am y gwasanaeth, yr hwn yw degwm, a chyhyd ag y byddo cenhedlaeth i Aaron ar y ddaear a dyledswydd ar ddyn ufyddhau i'r Arglwydd, a gwasanaeth yn yr offeiriadaeth Aaronaidd yn angenrheidiol, cyhyd a hyny, mae y degwm i fod. Hefyd, cyhyd ag y bydd nerth yn ngair Duw, ac anwiredd eisiau ddileu, ac offrwm yn angenrheidiol ei roddi, ac offeiriaid i offeiriadu, cyhyd a hyn y mae degwm i fod; ie, cyhyd ag y bydd yr Arglwydd yn peri i ddynion i edifarhau, a phechod heb ei faddeu, ac offeiriadaeth Aaron gyda'r diweddaf o'i hil, cyhyd a hyny mae'r degwm i fod.

1. Dylid talu degwm, am fod Duw yn rhoddi mwy na gwerth y llafur. Dyn sydd yn trin y ddaear, trwy ei haredig a'i llyfnihau, planu, a dwfrhau, ond Duw sydd yn rhoddi y cynnydd, ac y mae'r cnwd toreithiog yn fwy na gwerth y llafur, etto y mae Duw yn ei roddi, gan ddisgwyl iddynt wneud cyfiawnder ag Ef, trwy dalu un rhan o ddeg iddo yn ol, ond Duw ni chydnabyddant, a'i gyfreithiau sydd gas ganddynt. Am hyny y pregethir pre-

geth Pedr, "Edifarhewch a bedyddier chwi er maddenant pechodau," yngbyd a degwm.

2. Dylid talu degwm, oherwydd fod pawb dynion mewn cyfleustra y gallant dalu. Y modd y profwn hyn yw, oherwydd fod pawb yn ddiwahan yn gwastraffu mwy ddwywaith gyda phethau afreidiol nag y mae Duw yn ofyn o ddegwm. Galwaf wastraff ar bob peth afreidiol, mewn cysylltiad a bwyd, diod, dillad, neu unrhyw beth sydd yn arferedig genym heb eu hangen, ac ni chyfiawnha Duw neb am beidio cyflawni ei ddyledswyddau, er yn methu, os gwastraff fydd yr achos o hyny, gan fod gallu, pe yr iawn ddefnyddiem bethau, ein dyledswydd yw gwneud felly, a chyfiawnder yw i ni dalu ein degymau i'r Arglwydd.

3. Dylid talu degwm, am nad yw yr Arglwydd yn gofyn ond yr hyn sydd gyfiawn. Eiddo yr Arglwydd yr arian, a'r aur, yr anifeiliaid ar fil o fynyddoedd, eiddo'r Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder Nid yw dyn, ynte, ond goruchwiliwr ar y pethau mae Duw yn rhoddi iddo, a chan mai Efe a bia pob peth, "Yr holl eneidiau eiddo fi ydynt," medd yr Arglwydd. Nid yw dyn yn berchenog ar ddim, ac mewn gwirionedd, nid yw yn berchen arno ei hun. Dylait, gan ddegymmu, ddegymmu holl gynnyrch dy had, sef ffrwyth dy faes, bob blwyddyn, degwm dy ŷd, dy win, a'th olew, a chyntaf-anedig dy wartheg a'th ddefaid. Ac i ddwyn blaen-ffrwyth ein tir, a blaenffrwyth o bob ffrwyth o bob pren, i dŷ yr Arglwydd. Gan mae yr Arglwydd yw perchen y ffarm fawr i gyd, bydded i ni fod yn weision gonest, i rhoddi iddo y peth y mae yn ei ofyn, oherwydd nis gall ofyn dim ond yr eiddo ei hun, a'r hyn mae'n ofyn yn awr yw'r degwm.

4. Dylem dalu'r degwm, am ei fod yn gorchymyn i ni wneud felly. Yr olwg a'r dyben sydd ganddo wrth hyn yw ein lles ni ein hunain; dyna'r amcan mawr i gyd. Hefyd, os cawn fod Duw yn gofyn genym wneud rhyw beth, dyna ddigon i brofi fod gallu gan y dyn hwnw i wneud hyny, a dylai calonau pawb lammu o lawenydd am gael y fraint o'n hystyried yn deilwng i wneud rywbeth gyda'i waith. Nid ofn cosp ddylai ein cymhell i wneud unrhyw ddyledswydd, ond cariad; a'r hwn sydd yn caru Duw, ac yn cadw ei orchymynion, sydd gymmeradwy ganddo, ac y mae yn anmhosibl ennill cymmeradwyaeth, a diystyru y degwm, trwy beidio ei dalu.

5.—Dylid talu degwm, am fod amgylchiadau eglwys Dduw ar

y ddaear yn gyfryw sydd yn gofyn hyny; hefyd, nid gan y Saint yn unig mae yr Arglwydd yn gofyn degwm, ond pob dyn byw ag sydd ar ei ddaear yn byw arno; etto y mae yn fwy pendant yn gofyn i y rhai hyny ag sydd wedi cyfammodi ag Ef trwy fedydd, ac a rhaid arnynt, yn ol y cyfammod, a gwasanaeth yr offeiriadaeth. Gofyna yr Arglwydd ddegwm gan y tlodion gystal a'r cyfoethogion, ac hefyd y tlodion ddylai ddegymmu gyntaf, fel y byddai eu hymdrech hwy trwy ganol tlodi yn foddion i gymhell y cyfoethogion i'w dilyn, ac fel byddai eu hymdrechion diflino a chydwybodol, yn nghanol gwawd, erlid, a thlodi yn esgyn i fyny at eu Tad tosturiol, a swnio fel clychau arian yn ei glustiau, nes y berwai ei ymysgaroedd mewn tosturi fel yr ymhyfrydai yn nhywallt ei Ysbryd Glân, yn ysbryd o'r un natur, ac y teimlai y cyfoethogion drostynt, ac o barch at orchymyn eu Duw, fel nad allent ymatal rhag agor eu calonau, a chyflwyno at anghenion y tlodion, a'u diwallu a phob peth, ond heb i'r tlodion deimlo drostynt eu hunain, ni wna Duw deimlo drostynt. a thywallt ei ysbryd ar y cyfryw a allant wneud hyny hefyd, sef eu casglu yn etifeddion Seion i'w gwlad eu hun, yr hyn sydd anhebgorol; ac y mae hyn i gael ei wneud trwy ddegymmu. "Dygwch eich degwm i'r trysordy," medd yr Arglwydd. Deddf dragywyddol fydd hyn trwy eich holl genedlaethau."

6. Mae yr egwyddor o ddegymmu yn angenrheidiol i brofi gonestrwydd a chydwybodolrwydd pob dyn. Gwa y degwm ndaro yn erbyn enaid y byd (ariangarwch); am hyn yr ymdrecha y marsiandwr, y masnachwr, y celfyddydwr, a phob gweithiwr; oddiwrth arian mae cael anrhydedd a gogoniant. bwyd da, dillad gwychion; cysur y byd i raddau pell iawn yn ymddibynu ar arian. Dyna ddwndwr ac ymgyrch pawb, o bob gradd a chymmeriad. Er ei fod gymmaint yn ngolwg dynion, nes y peryglant eu sefyllfa gartrefol, a'u heinioes sydd yn fwy gwerthfawr na'r holl fyd, ni chyfynga yr Arglwydd ei ffordd a'i drefn er boddio neb, ond dywedwn wrth yr oll, "eiddo yr Arglwydd yr aur a'r arian," ac er mor hoff ydynt gennych degymmwch. Hefyd ystyriwn fod cymmwysderau angenrheidiol yn ofynol i ddegymmu, ac heb fod dyn a'r cyfryw yn ei feddiant, ni bydd yr elw a amcana Duw i ddyn gael wrth ddegymmu yn cael ei fwynhau. Os na cha dyn les, yr hyn yw gwir amcan Duw mewn cysylltiad a'r holl ddyledswyddau, gwell i ddyn i beidio, er y bydd ei aur a'i

arian, fel aur ac arian, gystal a'r goreu, ac attebant gystal dyben hefyd. Ond er i ni gael ein bendithio, rhaid ein bod yn gweithredu trwy ffydd, ymddiried, a chariad at yr egwyddor, a chofio yn fwyaf o ddim *onestrwydd.* Hawdd i ni pan wrthym ein hunain, wneud pethau na wnawn pan bydd llawer yn gweled, ac yn y goleuni, ond cofiwn fod haul Duw yn goleuo bob amser, ac arnom yn mhob man, ac nad oes dim dirgel na ddaw i'r amlwg, ac hefyd mai gweithredoedd dyn pan o'r golwg fydd yn ei ddwyn i'r golwg, i gael ei wobr a'i ogoniant, felly mai gweithredoedd drwg ac anonest o'r golwg fydd yn dwyn colled, gwarth, cosp, a chywilydd ar goedd yn y goleuni. Cydwybodolrwydd ynte yw heddwch, ac ar y pegwm hwn y cymmeradwyir pob dyn, yn mhob dyledswydd, ac y mae yn anmhosibl i neb fod yn gydwybodol pan na fydd yn cyflawni y pethau hyny ddysgir iddo. Dysgir y degwm i'r holl saint fel cyfraith nefol, ac mae heddwch Duw mewn cysylltiad a'r ddyledswydd, a heddwch mawr, mewn cysylltiad a bendithion mawr.

II. *Y Bendithion a fwynheid trwy ufuddhau iddo.* Un o'r bendithion mwyaf a all dyn gael yn y sefyllfa bresennol yw gwaith, a phan fyddo dyn allan o waith, gellir dweyd am dano, *dyn tlawd mewn gwirionedd,* oherwydd nid oes ganddo sail i gyfoeth. Holl fendithion y bywyd hwn y'nt seiliedig ar waith, pa un bynag ai eiddo ei hun ai eiddo arall fydd. Resymol ac ysgrythyrol hefyd yw fod holl fendithion y bywyd gwell yn seiliedig ar yr un natur beth, sef gwaith, er y gall fod y gwaith yn hollol wahanol. Gwaith sydd yn cyfaddasu dyn i wneud gwaith; gweithio a'r dwylaw sydd yn caledi a chyfaddasu y dwylaw, yn lle bod y dwylaw yn treulio wrth waith ryff a chaled, yn caledi a dyfod yn fwy cyfaddas o hyd. Felly y dyn wrth gerdded, traed yn caledi; a chario, y fraich a'r ysgwydd sydd yn gwneud fwyaf sydd gryfaf, a mwyaf cyfaddas; felly y dyn wrth feddwl, cofio, ac ysgrifenu, priodol dweyd, *practice makes master,* gyda phob peth, a pha fwyaf y gwaith, cyflymaf y cynnydd, (mewn cymmedroldeb). Gallwn ddweyd fod nerth, defnyddioldeb, enwogrwydd, cyfoeth, a gogoniant pob dyn yn y byd hwn a'r hwn a ddaw, yn ymddibynu ar waith. Y golled fwyaf all dyn gael ynte yw bod hebddo. Talu degwm sydd waith, ufuddhau i Rhoddwr y gwaith wedi ei gael yw ei wneud, ac mewn cysylltiad a'r gwneud mae'r bendithion.

1. Natur y bendithion a fwynheid, yr hyn sydd yn gyfattebol i natur y pethau a ddegymmwyd, ac y mae yn fendith ddyblig, y nawfed rhan o'r deg, y bu'r ddegfed rhan yn weddi gyssegredig drostynt, yn fendigedig i ateb dyben rhagor na'r deg, a llwyddiant yn ganlynol i gael un-ar-ddeg neu rhagor yn lle deg. "Profwch fi yr awrhon yn hyn, medd Arglwydd y lluoedd, onid agoraf i chwi ffenestri y nefoedd, a thywallt i chwi fendith, fel na byddo digon o le i'w dderbyn." Yr hyn ddegymmir o rhan ei natur a fendithir. Degymmir pob peth sydd yn dyfod o'r ddaear, am hyny y dywed yr Arglwydd "ac ni ddifwyna i chwi ffrwyth y ddaear, a'r winwydden yn y maes ni fwrw ei ffrwyth cyn ei hamser i chwi. A'r holl genhedloedd a'ch galwant chwi yn wynfydedig, canys byddwch yn wlad hyfryd, medd Arglwydd y lluoedd." Mal. iii, 10—14. Gwelwn wrth yr uchod fod y fendith o gael gwlad hyfryd, yr hyn a gyfansodda wynfydedigrwydd, yn gysylltiedig a thalu degwm. Os ydym am hyfrydwch a gwynfydedigrwydd ar y ddaear, dechreuwn ar y ffordd o'i wneud, trwy ddegymmu.

2. Y dull y mwynheid y bendithion. Duw sydd yn llywodraethu pob peth, a'i ysbryd ef sydd yn mhob man, a thrwy ei ysbryd Ef y mae pob bendith a fwynheir yn cael ei rhoddi; weithiau mae yn llywodraethu amgylchiadau nes y cydnabyddir hwynt yn wyrthiol, a hyny gan rhai heb fod yn Saint. Ysbryd Duw sydd yn cadw teuluoedd yn iach a thangnefeddus, yn dwyn tyfiant, nerth, glendid, a iechyd yn y plant oddiwrth y bwyd a fwytânt, yn dylanwadu ar y fam i feddwl am y bwyd mwyaf maethus, a'i gogwyddo yn y modd goreu. Nid natur y bwyd ynddo ei hun sydd yn diwallu na nerthu neb, ond yr ysbryd sydd ynddo. Er enghraifft, y pum torth a'r ddau bysgodyn yn digoni pum mil, heblaw gwragedd a phlant. Nid tamaid o fara a thamaid o bysgodyn sydd ddigon o bryd i ddyn, oddieithr fod yn y tamaid hwnw gymmaint o ysbryd ag a fyddai mewn pryd arferol; yna gwnai ddigoni a nerthu yr un cystal. Ysbryd sydd yn cadw yn fyw, ysbryd sydd yn nerthu, ac ysbryd sydd yn porthi ysbryd, a gwyddom fod llawer yn byw yn dda, yn iach a chysurus, ac efallai chwech o deulu, oddiwrth yr un faint o werth a theulu ag ynddo ddim ychwaneg na phedwar. Beth sydd yn gwneud hyn? Priodolaf ef i'r ysbryd sydd oddiamgylch ogylch, ac i fewn yn y teulu, ac mewn cysylltiad a phob peth

maent yn ymwneud ag ef. yn fwyd a dillad, ac fod ganddynt hawl a chyfreithlonrwydd o'r holl fendithion sydd eisiau arnynt, os cadwant gyfraith yr ysbryd. Ar holl fendithion y ddaear, mae gan ddegymwyr gonest hawl.

3. Sicrwydd o fwynhad bendithion. Mae holl addewidion Duw yn ie ac amen i gyd, mewn cysylltiad a phob dyledswydd. Y sant sydd yn credu fod yr egwyddor o ddegymmu yn gyfraith nefol, ac yn credu fod y gyfraith hon mewn grym yn awr, ac yn gwybod fod Duw yn nnol a'i addewidion, wedi bod, ac yn bod yn awr, dyna ddigon o sicrwydd y gwna mewn cysylltiad a degymmu. Mae maddeuant pechodau, dawn yr Ysbryd Glân, gweledigaethau gweinidogaeth angylion, yn yr oes hon, a'r oll, mewn cysylltiad a chyfraith Duw, ac addewidion Duw cyn ei gyflawni y buasent yn bod, ac y maent yn cael eu mwynhau, felly mae dynion yn mwynhau bendithion trwy ddegymmn, ac nid oes un sail i ammeu hyn, oherwydd fod gwirionedd yr Arglwydd wedi ei brofi mewn pethau ereill. "Nef a daear a ant heibio, ond fy ngeiriau i a saif byth, tywalltaf i chwi fendith fel na byddo digon o le i chwi i'w dderbyn."

III. *Yr aflwyddiant a ddilynai ei wrthwynbwyr*. Pob peth sydd a bendith yn gysylltiedig a'i wneud, mae melldith trwy beidio ei wneud, yn gyfatebol yn ei maint i'r fendith, llwyddiant o chwith i'w aflwyddiant. Mae'n bosibl i ddynion beidio a gwneud heb wrthwynebu, ond y mae yn anmhosibl i neb beidio gwneud, heb ddiystyru. Mae dyn wrth beidio ufyddhau yn amddifadu ei hun o fendithion, ond y mae y dyn sydd yn gwrthwynebu yn teilyngu melldithion, mor deilwng a'r ufyddhawr o fendithion. Dyledswyd a bendithion angenrheidiol yn nglyn a hi yw y degwm, a naw o bob deg yw cyfiawn hawl pob dyn, a'r sawl a wrthwyneba hyn a gospir. "Melldigedig ydych trwy felldith, canys chwi a'm hysbeiliasoch i, sef yr holl genedl hon." (Mal. iii, 9.) Yn awr sylwn ar yspeilio yn ladrad.

1. Mae lladrad yn dihawlio pob dyn o fendithion y llywodraeth, a'i ddigymmeradwyo fel dinasydd, a'i anneilyngu fel cymdeithaswr, a'i garcharu fel troseddwr. Cyfiawn deilyngdod y cyfryw yw cospedigaeth. "Melldigedig ydych trwy felldith." Priodol yw dywedyd hyn, oherwydd mae pob melldith yn aflwyddiant, pa un bynnag ai mewn cysylltiad a phethau tymhorol neu ysbrydol ydynt. Yr aflwyddiant sydd i ganlyn gwrthwynebwyr

talu degwm yw amddifadu eu hunain o'r bendithion sydd mewn cysylltiad a thalu degwm, yn fwyd, dillad, cyfoeth, anrhydedd, a gogoniant. Hefyd, gwrthryfelwr a gyll Ysbryd Duw, yna cyll lawenydd, hwylusdod, serchawgrwydd, cydfod, a iechyd; a daw i fewn annedwyddwch o bob natur, i'w feddwl, i'w deulu, ac i'w gymdeithas, a chwannog fydd i wadu yr holl ffydd, a'i gwrthwynebu. Wrth hyn bydd yn anngysur iddo ei hun, ei deulu, a'r holl gymdeithas, gan syrthio i droseddiadau mwy fwy o ddydd bwy gilydd, nes o'r diwedd myned yn wrthodedig gan ei deulu, a phawb o'i gydnabod. Gwrthwynebir ef bob yn dipyn gan holl garwyr cyfiawnder, fel y mae ef yn gwrthwynebu cyngor Duw, a chas fydd gan bawb ei arddel oherwydd ei aflwyddiant amgylchiadol, a'r tlodi a dynodd arno ei hun, a'r canlyniad gofidus o hyny i'w ganfod ar ei deulu, ac yn mhen ychydig cyll yr holl ffydd a roddwyd i'r Saint, ac Ysbryd Duw, ac allan o'r eglwys ei welir, a chondemniad ar ei ben, a dydd ei gosp ar wawrio. Dyma berffeithder aflwyddiant, ac y mae hyn oll yn aros gwrthwynebwr gorchymynion Duw, ac y mae talu degwm yn un.

JOHN JONES.

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

## DYDD SADWRN, CHWEFROR 7, 1857.

TRAETHODU, &c.—"*Byddwch ffyddlon mewn gweithredoedd da*"—(O'r "*Star.*")—Yn unol a'r cynllun a osodasom o flaen y Saint, mae cryn nifer o Draethodau yn awr yn y Cynnadleddau, ac hyderwn eu bod yn gyffredin yn cael eu gosod mewn cylchrediad yn mysg y bobl. Eang yw y cynllun, a chyferbyniol y daioni ddysgwylir iddo wneuthur, pa le bynag ei barheir, ac yr ymdrechir yn egniol i'w gario allan. Gorphwysa hyn ar yr Henuriaid a'r Saint yn yr amrywiol Gynnadleddau. Dilys y gwrthyd rhai o'r bobl dderbyn y traethodau hyn, ac fe ddichon y triniant amryw o'r rhai a ddygant y gwirionedd atynt gyda gwg a shamwri. Eithr gan nas gallant ddyfod dan gondemniad k.

oni chaffont gyfleustra o ufuddhau i neu wrthod y gwirionedd, gofyna yr Arglwydd i'r rhai sydd wedi ei dderbyn ac amgyffred rhywfaint o'i werthfawrogrwydd, i rhoddi y cyfryw gyfleustra iddynt, yn gymmaint ag y caniatâ amgylchiadau. Rhaid i'r Saint, mewn trefn iddynt dderbyn iachawdwriaeth eu hunain, wneuthur eu dyledswydd, a dirhuddo eu godrau o waed y genhedlaeth hon. Am hyny, annogwn hwynt i fod yn ddiwyd yn hon ac yn mhob dyledswyddau eraill a ofynir oddiwrthynt, mewn trefn i bregethu yr efengyl, casglu Israel, ac adeiladu Teyrnas Dduw. Dyfal-geisiwch am oleuni yr Ysbryd Glân i'ch harwain a'ch tywys yn holl ddyledswyddau eich bywyd. Gosodwch eich hunain a'ch teuluoedd mewn trefn; gwnewch Seion o'ch mewn eich hunain, ac yn eich preswyl fanau. Yna ewch allan a phregethwch yr efengyl, gan ddosbarthu traethodau, ac hefyd at eich llafur beunyddiol, gydag ysbryd yr heddwch ac ewyllys dda yn llosgi yn eich mhynwesau; yna cewch allu i dynu y gonest-galon at yr un ffynonell o oleuni o'r hon yr ydych chwi yn cael llawenydd a chysur.

Wrth ffydd a gweithredoedd da yr ydym ni i gael ein hiachawdwriaeth ein hunain. Yn Nheyrnas Dduw rhoddir ein hetifeddiaethau i ni yn ol yr ymdrechiadau a wnawn i sefydlu y cyfryw deyrnas ar y ddaear. Ymegniadau ymunol a pharhaol y Saint, yn dywysedig gan alluoedd y Nef, yw y rhai sydd i orthrechu gallu Satan, ac i wared y ddaear oddiwrth ei lywodraeth. Henuriaid yr Eglwys hon a ddylent bregethu yr efengyl, a'r Saint a ddylent ymweled o dŷ i dŷ, gan adael yr argraffedig air, a phan y cynnygio gyfleustra, dal eu tystiolaeth y fod Duw etto wedi dadguddio ei ewyllys o'r Nefoedd, ac wedi anfon Apostolion a Phrophwydi i fynegi y ffordd o fywyd ac iachawdwriaeth i blant dynion. Ymddengys yr ymdrechiadau personol hyn, pan eu hystyrir yn unigol, yn fychain, ac yn annghynnyrchiadol o ganlyniadau gorfawr, eithr pan y canol-bwyntir y lluaws o honynt er cyrhaedd yr un amcan, maent yn nerthol eu dylanwad, a chyfansoddant y ddolen a'r hon y troir Babilon tu fyny i waered, ac y sefydlir teyrnas Dduw ar ei charneddau. Gweddai i'r Saint, gan, hyny, i fod yn ddiwyd yn yr holl ymddangosiadol fân bethau hyn o ba rhai y cyfansoddir cyfan-grwn mawr y gwaith y dyddiau diweddaf hyn, ac felly i dderbyn cyflawniad yr addewid o y bydd i'r hwn a fydd yn ffyddlon dros ychydig bethau gael ei osod yn

rheolwr dros lawer. A y bywyd hwn, gyda'i dreialon a'i ofidiau, yn fuan heibio. Fel y deuwn yn ystyriol o fod ei ronynau diweddaf yn gadael awr-wydr amser, mor hyfryd fydd adolygu ei olygfeydd cyfnewidiol, ac i fod yn alluog i ddweyd ynom ein hunain ein bod wedi ein boddloni ar fywyd, a bod wedi ymdrechu i wneuthur daioni a gweithredu cyfiawnder yn ol y goleuni a roddwyd i ni. Pan y delo y cyfrif diweddaf i gael ei gymhwyso, os cawn fod ein pechodau wedi myned o'n blaen i farn, ac fod *balance* yn ein ffafr yn y brofedigaeth hon, cawn yn wir ein talu fil o weithiau am ein holl lafur yma.

CYRHAEDDIADAU.—Mae yr Henuriaid Henry Lunt ac A. M. Musser ar ymweliad byr a Chymru cyn yr ymfudant.

HYSBYS i'r Saint fwriad ein ffyddlon frodyr Evans ac Ashby i ddychwelyd adref y tymhor hwn. Dymunwn gynnorthwy y Saint i'r perwyl *tuhwnt* i'r hyn osodir arnynt, os gellir, a'u gweddiau effeithiol drostynt ar i Dduw Israel fod gyda hwynt i'w harwain trwy bob cyfyngder a'u cyfarfyddant.

YMWELODD y brodyr Truman O. Angel a John Kaye, a ni, yn ddiweddar, dros ychydig o ddyddiau. Buont yn gweled gweithiau haiarn a chopr er cymmeryd cynlluniau, &c., o honynt. Bu cryn gynhwrf yn Llanelli oherwydd i'r swn fyned allan fod *angel* yn pregethu yn Nghapel y Saint!

NEWYDDION O UTAH.—Yn y "*Mormon*" am Ionawr 17, cawn fod cynnifer o'r Deuddeg ag sydd yn yr Unol Dalaethau yn penderfynu ymuno yn eu hymdrechiadau i gael sefydliadau ar hyd y Gwastadedd. Bydd i bob sefydliad gynnwys, o leiaf, 50 o wyr galluog, a allant adeiladu amddiffynfeydd, ac amddiffyn eu hunain rhag gelynion. Byddant i gael pob offerynau amaethyddol i fyned gyda hwynt, fel y codont wenith a phob angenrheidiau bywyd i'r ymfudwyr. Ni eill cwmpeini o law-geirt fyned trwyodd i Utah, heb gael cynnorthwy i'w cyfarfod. Cyrhaeddodd yr Henuriaid F. D. Richards, a D. Spencer erbyn y Gymanfa, a mynegasant wir sefyllfa y cwmnioedd a ddaethant heibio iddynt ar y gwastadedd. Y fusnes gyntaf a wnaed yn y Gymanfa oedd gwahodd gwirfoddoliaid i fyned a gweddeuau ac ymborth i gyfarfod yr ymfudwyr, a chychwyn y diwrnod hwnw. Aeth allan tua 250 o weddeuau, gyda 26,688 pwys o flawd, heblaw ymborth arall a blancedi a dillad cynhes. Yr oedd yr ymfudiad yn afresymol o ddiweddar, ac ofnir y ceir hanes am rhai

o'r ymfudwyr olaf yn dyoddef. Feallai y cawn 'chwaneg erbyn ein nesaf.

DIWYGIAD yn aelodau Eglwys Dduw sydd beth a ddylai fod yn ddygwyddiad beunyddiol. Er ein tristwch, profir, yn rhy aml, wirionedd y ddammeg a gyffelyba Teyrnas Dduw i rhwyd a fwiwyd i'r môr, yr hon sydd yn dal pob math o bysgod, y rhai a ddidolir, ar ol tynu y rhwyd i'r lân. Swn anhyfryd amrysonau a chalon-galedwch brodyr a chwiorydd yn Eglwys Dduw tuag at eu gilydd, a baer y dingcod ar bob Sant ag sydd yn lân breswyl i'r Ysbryd Santaidd drigo ynddo, yn waeth na swn hogiad, can mil o lifiau. Arogl drewllyd gweithredoedd llygredig y rhai a wisgant enw crefydd megys mantell i'w throi heibio pan y mynant sydd wrthwyneblyd i archwaith y rhai a garant gyfiawnder, ac a gasant anwiredd, a chlaerineb y rhai nad ydynt y naill beth na'r llall sydd megys *vomit* i'r rhai a deimlant megys Duw ei hun.

AR ol y dyrnu trwm sydd wedi bod ar y llawr-dyrnu, sef Seion, er's peth amser, mae llawer o ûs wedi cael ei chwythu yn mhob cyfeiriad, a'r gwenith di blysg, wedi ymddangos yn ei burdeb, Pregethir edifeiriwch a bedydd er maddeuant pechodau i holl Saint Utah, a gofynir iddynt wregysu eu lwynau a dangos os ydynt am fyw eu crefydd a gwasanaethu Duw trwy adeiladu ei deyrnas yn *weithredol* .Sefyllfa o brawf, ac amser gweithio y yw bywyd hwn; ac nid yw y Saint i ddysgwyl segurdod a mwynhad. os cyrhaedd wnant i'r gamp uchel yn Nghrist Iesu, o'r hon nid ydym etto wedi cael braidd un dychymmyg. Pwy erioed a glywodd fod dyn diog yn ddyn duwiol? neu Saint diog o unrhyw werth yn yr Eglwys on.

Heblaw eich cymhell i ystyried y cyfieithad o ddysgeidiaeth ein Llywydd, dywedwn, Darparwch eich hunain, canys y mae gair yr Arglwydd ar ddyfod o Seion, ac ni ddychwel atto Ef yn wâg. Llawenhaed y diwyd, ymddrychryned y drwg weithredwr, a diwygied y llesg; canys y mae barn ar gael ei osod wrth linyn, a chyfiawnder wrth bwys yn y wlad hon, megys ag yr ydys *wedi dechreu yn Seion.* Gosoder yr ysgwâr a'r cwmpawd wrth bob careg yn yr adeilad yn Nghymru, a thorer ei chalciau ymaith, ac os na ddyoddefa ei thrin, tafler hi i'r domen. Hawyr! a oes rheswm fod gwaith mawr yn cael ei dori allan ar gyfer llawer o bersonau, a dim ond rhai yn ei gyflawni, a'r lleill, nid yn unig yn peidio gweithio eu hunain, ond am rhwystro ereill hefyd. Maent fel

y ffroga blwydd yn marchog y rhai dwy-flwydd.

Dywedwn wrth Lywyddion y Cynnadleddau, Darperwch eich Cangenau i dderbyn gair yr Argiwydd. Eich gofyniad yn mhob Cangen fyddo,

I. A ydyw y Llywydd ei hun yn ddyn da a *digon* diwyd, ac yn esiampl i'r holl swyddwyr ereill. Os na fydd, i ffwrdd ag ef o'r ffordd, a gosoder arall yn ei le.

II. A ydyw yr holl swyddwyr mewn undeb, ac yn cadw eu crymanau yn loewion? A oes gwaith yn cael ei dorri allan o'u blaen—pregethu, traethodu ymweled â'r Saint, &c? A ydynt hwy yn ymgynnilo, ymprydio, ymburo ac ymsanteiddio mewn buchedd a chynnyddu gronynau dwyfol yr Ysbryd Glân o'u mhewn ac o'u hamgylch, ac yn ngallu anorchfygol yr Offeiriadaeth? Os nad ydynt, llawer gwell yw cymeryd eu swyddau oddiarnynt, a'u rhoddi i'r rhai a'u defnyddiant.

III. A ydyw y Saint mewn bywyd? A ydynt hwy yn rhydd oddiwrth enllib ac amryson? Nid anaml yr esgeulusir y fath achosion a ystyrir yn fychain, hyd oni thyfont ac y diluwiont gangenau cyfain â llifeiriant cynhen. Er rhwystro hyn dylai fod yr athrawon, neu yr uwch swyddwyr a osodir i weithredu megys athrawon yn chwilio y fath bethau allan, ac yn gweinyddu cyfiawnder yn diduedd. Gofyner hefyd, a ydynt yn gwneuthur yr oll a allant drwy fwyneidd-dra a thrwy geisio argyhoeddi a deni cyn y gweinyddont lythyren eithaf y gyfraith.

IV. A ydyw pawb yn ddiwahan sydd ag unrhyw *income* yn talu eu degwm i'r Arglwydd. Os nad ydynt, na laeshaer rhag pregethu, perswadio, deni, goleuo, ac argyhoeddi, hyd oni ei wneir. Ymddyger yn dyner lle byddo anmhrofiad a gwendid; eithr lle mae yr "hen benau" a wyddont ewyllys eu Harglwydd, ac nis gwnant hi, curer hwy a llawer ffoned, hyd oni churir hwy at eu dyledswyddau, neu allan o'r eglwys.

V. Anfoned pob Llywydd Cynnadledd Ddeheuol fynegiad, bob mis o bellaf, o sefyllfa a chynnydd ei Gynnadledd, a'r nifer sydd yn talu degwm, ynghyd a'r swm. Hefyd swm dyled y Gynnadledd, os bydd, ac i bwy y bydd yn ddyledus. Dyry y Bugail, J. Jones, hanes Cynnadleddau y Gogledd mor aml ag a allo. Gofynir hynt y traethodu, y pregethu, y bedyddio, a'r chwynu, hefyd, a phob hanes sydd o ddyddordeb.

Wrth derfynu, dymunwn i bob Llywydd Cynnadledd brofi ei

deilyngdod i *gael parhau* yn ei swydd bwysig wrth wneuthur y pethau hyn. Na annghofier y Swyddfaoedd am gyhoeddiadau a thraethodau, fel ein calonoger i yru y gwaith rhag ei flaen. Bydded ein tŷ yn lan,—pob celfigyn yn ei le, a phawb yn lan a llon yn "meindio busnes eu hunain," fel y byddom addas i dderbyn gair yr Arglwydd; oblegid, cofier. *y mae yn dyfod.*

---

## DYSGEIDIAETH YR APOSTOL BENSON.

(*Parhad o tud.* 27.)

Oni all Duw, perchenog y ddaear a'i chyflawnder, gyfranu a fyno i'w blant, pan gwel efe hwynt yn addas i'w derbyn ? Wrth weithredu yn ol yr egwyddor hon y dysgwyliaf fi feddu pob peth a ddymunwyf,—gwragedd, plant, aur, arian, tai, tiroedd, a phob peth da arall. Eiddo yr Arglwydd ydynt, ac ni roddir hwynt yn dragywydd i neb ond a feddant yr offeiriadaeth. Felly, chwi welwch nad ydyw y cart o flaen y ceffyl genym, ond pob peth yn dyfod yn mlaen yn naturiol yn ei amser ei hun, er y dichon i ni gael dyoddef a gosod ein bywydau i lawr yn nghyntaf.

Teimlwyf yn dda heno ; mae llawer o bobl dda yma a ddeuant i'r eglwys ar ol hyn. Geill y lleill rhuo a chwydu allan eu "dynoethiad Mormoniaeth" faint a fynont. Dyna beth ydym ni am wneuthur. Yr ydym ar law i'w dynoethi gymmaint a allwn i'r sawl a fynont. Yr ydwyf fi yn awr yn dynoethi rhai o'i hegwyddorion ; a phe deuai y bobl a ant i glywed ein gelynion yma attaf fi, gallwn ddweyd y dywedwn y gwirionedd wrthynt ; eithr os gwell ganddynt glywed unrhyw ddrwg am danom, ac os carant gelwydd, gallant fyned ac ymlythu arnynt, a myned i uffern.

Ewch i weithio, frodyr a chwiorydd ; mae yr elfenau a'ch hamgylchynant yn llawn o gopr, arian, aur, a phob angenrheidiau, a mynwch ddigon i dalu eich cludiad, fel y gwaredoch eich hunain o gaethiwed Babilon.

Pe dechreuid yr egwyddor geiniogol yma o'r amser hwn yn mlaen, un flwyddyn ar ol mis Mawrth nesaf, gadawai miloedd o Saint y gwledydd hyn trwyddi. Oni allwch chwi, yn ol eich

dealltwriaeth a'ch hewyllys rhydd eich hunain, gasglu digon o ffydd i'w gyflawni? Pe na wybyddech pa le i droi am y pryd nesaf o fwyd, ac y syllai newyn yn eich gwyneb, oddieithr i'r Arglwydd eich cynnorthwyo, oni weithredid ffydd, ac y gwnelid weddio am fanna a sofl-ieir? Gallwn feddwl y gwnelid, ond, trwy orfodaeth.

Ceisiwch, gan hyny, am eiriau o ddoethineb oddiwrth yr Arglwydd; gweithredwch yn eu hol, ac ymgesglwch adref.

Cyfiawnder Teyrnas Dduw a gaffoch, ac achubiaeth ynddi, ydyw fy ngweddi, yn enw Iesu Grist. Amen.

---

## GWAHODDIAD Y SANT I'W BERTHYNASAU.

---

Tebygaf y clywaf ruddfanan y gwan,
Dan ochain, a gwaeddu, "oh! pa le mae'r fan
In' gael gwaredigaeth o ganol y trais,
Sydd 'nawr yn ein llethu a gwasgu ein hais.
B'le, b'le cawn ni fyw,
Ar wyneb y ddaear, dan nodded ein Duw.

Myfi sydd yn barod i ateb eich cwyn,
A roddaf y cynghor yn awr er eich mwyn;
Dywedaf yn gywir yn awr, heb un ple,
Lle cewch chwi a minau lwyr nodded y ne'.
Dewch, dewch, oll o'r bron,
Dewch, brysiwch i Seion o hen Babilon.

Trwy fedydd y trochiad eich henaid fydd byw,
Ac arddodiad dwylaw—cewch ysbryd ein Duw,
Fe'ch harwain yn llawen o ganol y byd,
Fe'ch dyga i Seion yn siriol ynghyd;
Llon, llon fydd eich gwedd,
Yn Seion yn siriol, mewn mwyniant o'r wledd.

'Rwyf fi wedi teithio yn mhell pell o'm gwlad,
A'm hiraeth am Seion, lle mae cael rhyddhad;
Gwrandewch, chwi berth'nasau, a'r Seintiau yn llon,
Dewch, brysiwch i Seion o hen Babilon.
Dewch, dewch, oll o'r bron,
Gwnewch ddyfod i Seion o hen Babilon.

Phiolau y dial sy'n hongian i lawr,
Uwch ben y trueiniaid sy'n gwrthod yn awr,
I roddi ufydd-dod i 'fengyl yr hedd,
Sydd 'nawr yn eu galw i ddyfod i'r wledd.
Dewch, dewch, oll o'r bron,
Dewch, brysiwch i Seion o hen Babilon.

Nac ofnwch i deithio dros diroedd a môr,
Os byddwch yn ffyddlon, cewch ofal ein Ior;
Ei ofal fydd drosoch, tra b'och ar y llawr,
Efengyl a'ch gwared bob mynyd—bob awr.
Dewch, dewch, oll o'r bron,
O! deuwch i Seion o hen Babilon.

THOMAS F. THOMAS,
*Potsville*, U.D.A., *Tach.* 30, 1856. *Gynt o Georgetown, Merthyr.*

---

NEWYDDION YCHWANEGOL O'R DYFFRYN.

Pan yr oeddem ar fyned a'r rhifyn hwn i'r wasg, derbyniasom y *Star* a gynnwysai lythyron oddiwrth y Llywyddion Brigham Young ac F. D. Richards.

Maent yn llawn o dân ysol yr Arglwydd. Prif destun yr holl diriogaeth yw am y DIWYGIAD sydd i fod. Pregethai gweision Duw gyda'r fath nerth hyd oni orfodent attal rhag dweyd ychwaneg, oherwydd fod y bobl yn ocheneidio gan "arswyd yr Arglwydd." Mae annogiad i'n Llywyddion yn y wlad yma lanhau yr eglwys yn nghyntaf, gan bregethu *diwygiad* cyffredinol i'r Saint yn nerth yr Arglwydd, a roddi y gwirionedd, noeth yn llym iddynt, oherwydd dywed ein Prophwyd fod y Saint yn y wlad hon, hefyd, yn rhy oeraidd a marwedd gyda'u dyledswyddau pwysig.

Ceir cyfieithad o'r ddau, ynghyd a sylwadau y Llywydd Pratt yn gyflawn yn ein rhifyn nesaf. Yn y cyfamser, frodyr Llywyddol yn Nghymru, darparwch eich hunain a'r Saint, trwy weddi ac ympryd, i dderbyn gair yr Arglwydd, yr hwn sydd megis cleddyf llym dau-finiog. Ceir gweled ar fyr mai dim ond *gweithwyr diwyd* a gant yr anrhydedd o gyflawni gwaith, a chyhoeddi cenadwri rhybuddiol yr Arglwydd. Drachtiwch yn helaeth o ysbryd Seion, fel y teimler ei effaith drwy bob preswyl yn Nghymru.

Nifer y ddau law-geirt gwmpeini o ymfudwyr diweddar oedd tua 900 o eneidiau. Daliodd ystorom eira un o'r cwmnioedd yn y *Sweet Water*. Yr oedd troedfedd o eira ar y llawr, ac ni ddaeth y cynnorthwy ond *braidd* mewn amser i'r ddau gwmpeini, meddai y mail, yr hwn a ddaeth heibio iddynt. Cymmerid hwy i fyny i'r waggenni, dilladid hwy yn gynnes, a phorthid hwy yn haelionus, gan yr anwyl frodyr a aethant o'u gwirfodd, ar eu cost eu hunain, i gyflawni y fath orchwyl caredig. Dysgwyliai y Llywydd Young bob un o honynt i mewn yn fuan, "heb iddynt gael dyoddef llawer." Yr oedd efe yn lled anfoddlawn am iddynt gael eu cychwyn dros y gwastadedd mor ddiweddar.

## AMRYWIAETHAU, &c.

Y LLONG "COLUMBIA" a hwyliodd o Lerpwll Tachwedd 16, 1856, a 221 o Saint ac eraill ar ei bwrdd. Ganwyd un mab ar y fordaith. Cyrhaeddasant Caerefrog newydd Ionawr y 1af, ar ol mordaith o 45 diwrnod.

TALIADAU AM LYFRAU O IONAWR 5 HYD CHWEFROR 5.—Wm. Ajax, Môn, 15s; Dinbych, 13s. a £1 8s. 4c. (Hyd 22, 1856); C. Harman, £2 14.s 1c.; J. J. Phillips, £1; A. L. Jones, £3; J. Gibbs, 3s. 4c.

ETTO AM DRAETHODAU.—T. Stephens, £10 4s.; John Treharn, 16s. 8c.; William Jones, £1 18s.; C. Harman, 15s.; D. John, £1 10s.; W. Ajax, Dinbych, 16s. 8c.; Mon, £1 5s.

CYNNELIR Cymanfa Meirion, Chwefror 22; Dyffryn Conway, &c., Mawrth 1af; Dinbych, yr 8fed; a Ffiint ar y 15fed.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 5.] MAWRTH 7, 1857. [CYF. X.

### GWAITH Y DYDDIAU DIWEDDAF—DARPARIAD.

(O'r *Star.*)

Gogoniant Teyrnas y Dyddiau Diweddaf, cydymgasgliad pobl Duw, adeiladiad Seion, adferiad pob peth, ail-ddyfodiad Crist, a'r Milflwyddiant, oeddynt destunau a pha rhai yr ymwnelai meddyliau uchel-dônawg y Prophwydi o dan frwd ysbrydoliaeth. Oddiwrth y pynciau hyn benthycent adenydd a'u galluogent i uchedi yn y fath ehediadau dyrchafedig ag a achosai i dybiaeth meddwl anysbrydoledig ymbenfeddwi. Gan gael eu cario yn uwch uwch gan yr Ysbryd Glân yn ngweledigaethau yr Hollalluog, cyrhaeddasant nefolaidd gylch bywyd, ac ymdrochasant yn y gogoniant hwnw a rhagddywedent y gordöai y ddaear, yn nghyflawnder yr amseroedd, megis ag y töa y dyfroedd fynwes y dyfnder aruthrol. Fel yr ymgrafangai eu heneidiau prophwydawl mewn ychydig frasbynciau a phethau cyffredinol o'r golygiadau mawreddog hyn, eu darluniadau a rhoddwyd gyda'r hyawdledd nertholaf. Yn wir, ar y pynciau a rhagenwyd, treuliasant gryfder llawnaf meddyliau ysbrydoledig.

I'w dilyn yn eu ehediadau uchedawl, i ddarganfod godidawgrwydd y golygfeydd a welent, drwy gilfach y dyfodol diymlenol, ac i edrych gydag ymddiried at gyflawniad llythyrenol y gweledigaethau prophwydol, a ofyna i'r meddwl fod yn ddiwylliedig gan yr ysbryd hwnw a symudodd y llèn o'r neilldu, ac anghena ffydd mor uchelfrydig ag y meddai y

 Pris, $1\frac{1}{2}$c.

Prophwydi en hunain. Rhaid i bethau Duw, er cael eu deall, a'u gwneuthur yn amlwg i lygad ffydd, gael eu canfod yn ysbrydol. Gyda sylliad arnynt wrth olenni ansicr doethineb ddynol, yr anamlygrwydd a fwyheir gan wyb-greadigaeth y dyb, a gosodir dychymygion niwlog gwybiog, yn lle ffydd glir a sylweddol. Oddiyma, i'r rhai ag ydynt yn amddifad o ddoniau yr ysbryd, ymddengys y dygwyddiadau mawrion a rhag-ddywedwyd y deuant i ben yn y dyddiau diweddaf megis breuddwydion o ddirgelwch yn anghofiedig, a ofynant Ddaniel i adrodd eu sylwedd, a dehongli eu hystyr. Neu, ysgatfydd, i dybiau dirdynedig, ymddangosant megis lledrithod y wyliadwriaeth ganol nos, y rhai a ergydiant arswyd i'r enaid, ond a ochelant y teimladau corfforol, y rhai a ddiflanant pan eu dilynir, ond ag ydynt oll yn ofalus i ochelyd, a'r rhai y mae y rhai dewraf yn ofalus i'w gyru o'u meddyliau. Fel hyn y mae gogoniant addawedig ac etifeddiaeth y Saint, ynghyd a'r barnedigaethau bygythiol i gael eu harllwys ar y drygionus, yn cael ei ganfod.

Cydnebydd y Cenedloedd Cristianogol awdurdod ac ysbrydoliaeth yr ysgrifenwyr ysbrydoledig, ac ni wrthodant gydweled a'r darluniadau prophwydawl. Gwna eu hoffeiriaid areithiau dysclaerwych oddiwrth y rhanau hyn o'r ysgrythyr, mewn perthynas i'r pynciau a enwyd. Y mae ychydig ag ydynt yn hollol anffyddiol o'r digwyddiadau mawrion a rhagddywedir yn y Beibl.

Ond wedyn, i'r ffydd boblogaidd y maent fel gwledydd tylwyth teg, a chastelli cyrchedig, yn diwallu gweinidogion a gwrthddrychau hynod i ddesgrifiad, dychymyg, ac hyawdledd; ond cymmeriadau y rhai ni wahoddai neb i'w haelwyd; ni ddisgwyl neb i'r chwareuyddiaeth ddyfod yn rhan o'r bywyd beunyddiol.

Degau o filoedd o bregethau a bregethwyd a miliynau o dudalenau a ysgrifenwyd oddiwrth y desgrifiadau prophwydawl o ogoniant Eglwys y dyddiau diweddaf, Seion, dyfodiad Crist, a theyrnasiad cyfiawnder. Nid oes braidd ddyn yn ngwledydd cred ar nad yw rhywbryd wedi gweddio, "Deued dy deyrnas, gwneler dy ewyllys ar y ddaear megis ag yn y nefoedd;" na phroffesydd crefydd ar nad yw wedi cynnwys yn ei ymbil y dymuniad—"Brysia yr amser, O Arglwydd, pan y gordoa dy

wybodaeth di wyneb y ddaear, megis ag y toa y dyfroedd fynwes y dyfnder aruthrol, ac y gwawria deyrnasiad cyfiawnder ar y byd." Ond wedyn, y mae un rhan o'u ffydd yn amryson a'r llall. Ysgogiadau eu tybiadau eu hunain, yn y tywyllwch ysbrydol a'u gordoant, sydd yn mwydro eu ffydd fel pe baent fil o Wil-o'-the-wisps. Ni wnant un darpariad gogyfer a gwaith mawr y dyddiau diweddaf; ond â pob peth yn mlaen gyda hwynt megis ag o'r dechreuad. Saif eu dyrys esboniadau o'r Ysgrythyrau yn ffordd cyflawniad llythyrenol y prophwydoliaethau; a'r actyddiaeth (*drama*) ogoneddus a daniodd feddyliau y prophwdi a ddiflanasant i ddiddymderau awyrawl.

Gan fod heb ddylanwad yr Ysbryd Glân—ysbryd y dadguddiad trwy ba un y rhag-welwyd y dygwyddiadau—y weledigaeth sydd seliedig iddynt hwy, y sylwedd a gollwyd mewn breuddydion. Gan gredu fod llais prophwydoliaeth dros fyth wedi gostegu, a'r nefoedd wedi cau yn erbyn pob cyfrinach rhwng Duw a dyn, ei Deyrnas Ef yn dyfod, a'i ewyllys ef yn cael ei gwnethnr ar y ddaear megis ag y mae yn y nefoedd, nid ydynt nemawr yn wahanol iddynt hwy nag ystoriau y tylwyth teg, a gwybodaeth yr Arglwydd yn gordoi y ddaear megis y toa y dyfroedd y dyfnder, nid ydyw amgen iddynt hwy na chwedl. Felly y mae gyda phob *item* arall o waith y dyddiau diweddaf i ddealltwriaeth niwlog y meddwl pobloguidd.

Nyni, modd bynnag, a edrychwn ar y pynciau gogoneddus hyn yn hollol yn yr un goleuni ag y gwelai y cyn-broffwydi hwynt. I ni y mae ganddynt ystyr llythyrenol; ac o hyd edrychwn yn mlaen at *ddarpariad a ch flawniad.* Yn herwydd fod cenadwri Joseph Smith yn cyflawni y prophwydoliaethau cyntefig, a bod pob pob dadenhuddiad o eiddo y genadwri hon yn *darparu* y ffordd i ddadguddiad trwyadl o ogoniant goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, yr ydym yn eon i draethu bod pawb a ysgrifenasant ar y pwnc trwy ysbrydoliaeth Duw, yn tystiolaethu i'r hyn a wnaeth Joseph. Pan wrandawom y traethiad oddiwrth ddegau o filoedd o leisiau fod y deyrnas a soniodd Daniel am dani wedi cael ei gosod i fyny; pan glywsom dystion i'r ffaith fod yr efengyl yr hon y dywed Ioan ei throsglwyddid i'r ddaear gan angel, wedi cael ei hadferyd, i gael ei phregethu i bob cenedl; pan ei gwelwn yn gweithio ei

ffordd i derfynau eithaf y ddaear, dywedwn wrthom ein hunain fod y gwaith yn darparu, y prophwydoliaethau yn dyfod i ben,—symuda pethau yn yr iawn gyfeiriad. Pan glywom y llais yn taranu drwy gyfrwng yr offeiriadaeth, "Deuwch allan o honi hi fy mhobl i;" ac o wefus i wefus gweision Duw yr â y gorchymyn yn mlaen, "Cydymgesglwch fy Saint," dywedwn fod y gwaith yn ymddarparu; gogoniant y dyddiau diweddaf sydd yn gwawrio ar y byd. Pan y canfyddom ddegau o filoedd yn heidio i ystafelloedd yr Arglwydd, megis colomenod i'w ffenestri, a dwylaw prysur yn adeiladu Seion, fel yr ymddangoso yr Iachawdwr yn ddisymmwth yn ei ogoniant; a phan mewn atebiad i'r llef, "Wele y Priodfab yn dyfod, ewch allan i'w gyfarfod," gesyd Eglwys yr Oen am dani eu gwisgoedd heirdd o ddiwygiad, parod ydym i floeddio Hosanna! Duw sydd yn darparu ei bobl; nid oedd gweledigaethau y prophwydi yn chwedlau.

---

## ANERCHIAD YMADAWOL YR HENURIAD ISRAEL EVANS.

*Swyddfa "Udgorn Seion,"*
*Abertawy, Mawrth 3ydd,* 1857.

Hynaws Saint,

Gan fy mod wedi cael fy ryddhau i fyned o'ch plith, ac i ddychwelyd i artref y Saint, teimlwyf i hysbysu i chwi fy nheimladau ynghylch fy llafur yn mhlith y Saint yn Nghymru, ac hefyd ynghylch fy nychweliad i Seion.

Pan y daethum i Gymru, yr oeddwn yn ddieithr-ddyn mewn gwlad ddieithr, etto, nid yn ddieithr un i'r egwyddor fawreddog a achosodd i fynwesau y Saint i ymlosgi gan ddiolchgarwch i'r Nef uchel am fendithion o oleuni a gwirionedd a dywalltwyd allan arnynt yn y dyddiau diweddaf hyn. Pan gyrhaeddodd yr Henuriad Ashby a minnau i'ch plith, yr oedd y tymhor ymfudo yn cyflym agoshau. Ymgeisiasom i wneuthur a allasem i gynnorthwyo mewn roddi cyngor a chyfarwyddid i'r ymfudwyr, (canys ni feddem un dim arall) ac hebryngasom hwynt mor belled a Llerpwll, a roddasom y cynnorthwy mwyaf egniol a allem yn eu bwrddiad ar yr *S. Curting,* am Boston, yr hon a hwyliodd Ebrill 17eg, 1856. Hysbys ddigon ydyw i

ymfudiad trwm adael Cymru y gwanwyn diweddaf, ac fel pob cyffelyb un, iddo adael mawr ddyled ar ol gan i holl Lywyddion y Cynnadleddau a'u teuluoedd, oddieithr dau, gael eu mudo, yr hyn hefyd a ddygodd ddwylaw newyddion i'r maes, yr amlaf o ba rhai oeddynt nid yn unig yn ddyeithriaid i'w maesydd llafur, ond hefyd yn ddyeithriaid i'r cyflwr y galwyd hwynt iddo Aeth yr ymfudiad hefyd a'n holl Henuriaïd Teithiol, yn ogystal a'r rhai hyny a allasent fod wedi myned i'r weinidogaeth, fel na adawyd ychwaneg na dau neu dri o henuriaid teithiol yn yr holl genadiaeth, na neb i'w hanfon allan. Gofynid i'r Llywydd Daniels dreulio ei amser gan mwyaf yn y swyddfa, gan iddo gael ei alw i gymmeryd llywyddiaeth y genadiaeth, a gofal cyhoeddi &c., y rhai a dynasant ei lafur effeithiol o'r maes.

Fel hyn, frodyr a chwiorydd, oedd ein cyflwr ar ddechreuad gweithrediadau y gwanwyn ddiweddaf, a phe byddem wedi syllu arno megys ag a llygaid y dyn anianol, ac ystyried yr hyn oedd genym i'w wneuthur, ymswynem rhagddo. Ond, diolch i Dduw, ni edrychasom arno felly, ond gyda'r llygad o'r ffydd hono a alluoga y ffyddlawn Sant i orthrechu pob peth, a bendithiwyd a llwyddwyd ni yn gyferbyniol. Yn y cyflwr yma dechreuasom adeiladu i fyny "deyrnas ddrylliog;" canys, trwy fendith Duw ac ymdrechiadau ei weision ffyddlawn, yr oedd nid yn unig gangenau ond cynnadleddau wedi cael eu torri i fyny drwy fod cynnifer o Saint yn ymadael er myned i'r America, ac i dir Seion. Ond rhaid oedd gwneuthur rhywbeth, nid oedd teimlad yr un o'r Saint am aros, eithr teimlasant i gyfodi, ac, yn enw Duw Israel i fyned yn mlaen at y cyflawniad o'u dyledswyddau, eithr fel yr ymddangosai fod yr Arglwydd yn fwy na'r oll, felly yr oedd rhyw egwyddor fwy a chryfach er ein galluogi i ganol-bwyntio ein hegni yn fwy, trwy yr hyn y caffem allu mwy i ddwyn ymaith yn anrhydeddus y gwaith ag oedd wedi syrthio arnom. Pa beth ydoedd yr egwyddor gryfach? Cyfraith y degwm ydoedd, yr hon a gyflwynwyd yn gymmanfa gyntaf a gynnaliwyd yn Merthyr ar ol mynediad y Saint y gwanwyn diweddaf. Nid yn Merthyr yn unig ei chyflwynwyd, eithr galwyd ar yr holl Saint yn mhob cynnadledd trwy y Genadiaeth Gymreig i dalu eu degwm. Gwir ydoedd mai gyda theimladau diolchgar i Dduw a

chariad i'r Saint y gwelsom lawer yn ateb i'r alwad, o'r dechreuad. Mae amrai eraill, yn raddol, wedi gafaelyd yn yr egwyddor fel y maent wedi cael eu gwneuthur yn fwy hollol hysbys o honi, ac y mae eu ffydd wedi cynnyddu yn ngwaith Duw. Mae ychydig o hyd yn sefyll yn ol, ond mae amser di-doli wedi dyfod, a'r rhan na fyddant byw eu crefydd, ac na ufyddhant i gyfreithiau Duw, ni adnabyddir hwynt yn hwy yn mhlith pobl Duw. Mae gan egwyddor y degwm allu ynddi ei hun sydd gyfartal i'r gorchwyl a osodir arni; canys y mae wedi ein galluogi i dalu ein treuliadau cartrefol, talu llawer o ddyled, a chyfodi at drysorfa y deml tua £300, ac wedi ymsefydlu yn gadarn yn mhlith y Saint, fel y cyflawnir llawer mwy y flwyddyn hon na'r llynedd. Yr oedd y planigyn, y gwanwyn diweddaf yn ieuanc a thyner iawn, ond y mae wedi tyfu erbyn hyn yn bren cadarn, gan ddwyn ffrwyth da.

Am hyny, anwyl Saint, ymgalonogwch, a byddwch byw i fyny i ofyniadau hon yn ogystal ag egwyddorion ereill iachawdwriaeth a wnelir yn hysbys i chwi, a hwy a ddygant fendithion y nefoedd i waered ar eich penau, ac a frysiant eich gwaredigaeth o wlad y gormes i wlad rhyddid.

Mae yr argoelion sydd o'ch blaen yn eithaf addawol—y plantgyn ieuanc sydd yn mhell tu uchaf i gyrhaedd y "Llwynogod bychain," a hiraethant am attal ei gynydd. Y mae genych hefyd yn y maes amryw yn ychwaneg o Henuriaid mwy galluog, rhai o honynt o Seion, y rhai ydynt yn "dyrau cedyrn" i chwi. Hefyd, y mae cyfres o'r traethodau nertholaf o blaid y gwaith hwn yn awr, yn dyfod i'ch dwylaw, y rhai ydynt yn deffroi llawer gonest ag oeddynt cyn hyn, wedi cael eu cadw yn hollol anhysbys o wirionedd yr Efengyl.

Y *Diwygiad* dyfodol a fydd yn fendith i bawb o'r Saint ffyddlawn, trwy dori pob cangenau meirwon, a didoli yr alcam oddiwrthynt, gan eu dwyn yn nes at yr Arglwydd, eu cylymu yn dynach yn rhwymau cariad, gan roddi mwy o allu iddynt i ddwyn y gonest-galon o gyfeiliorni ei ffyrdd at oleuni gogoneddus y gwirionedd.

Pan y dechreuwyf adfyfyrio ar sefyllfa ac argoelion y genadiaeth, teimlwyf yn wir ddiolchgar i'r Arglwydd, yr Hwn sydd wedi ein cynnal mor belled, a'r Hwn y gwyddom y parha i'n cynnal cyhyd ag y gwnawn ei swyllys Ef.

Teimlwyf fel pe y chwenychwn aros gyda chwi, ac y cynnorthwywn chwi i dreiglo y gwaith mawr hwn yn mlaen.

Yn ystod y flwyddyn fynedol ag ydwyf fi wedi ei *th*reu'io gyda chwi, yr ydwyf wedi llafurio gyda mawr lawenydd a boddlonrwydd, wedi cynnorthwyo i gyflwyno i chwi rai o gyfreithiau Seion, y rhai nid oeddych hyd hyny wedi cael eich galw i'w hymarferyd, a pha rai yr ydych wedi cydymffurfio yn llawen. Nid oedd genym ond arwain yn y blaen, a phwyntio allan y ffordd, ac yr ydych wedi dilyn yn ddewr a chynnal yn ffyddlawn ein dwylaw, yr hyn sydd wedi tynu bendithion y nef i waered ar ein penau, a phrofi yn fendith barhaol i ni oll.

Yr ydwyf wedi teithio ddwywaith *o* gylch y genadiaeth yn drwyadl, ac amryw weithiau trwy y rhanau deheuol, ac yr ydych wedi bod bob amser yn barod i'm bendithio, ac i weinyddu i'm anghenion, tra y teithiwn megis dyeithr un yn eich mysg. Os ar droion y methais roddi y cyfryw gynghor a chyfarwyddid i chwi ag a'ch calonogai ac a'ch cysurai mewn amser anghen, a'ch cryfhau yn achos y gwirionedd, ni bu oherwydd fy niffyg ewyllys, ond diffyg gallu i'w wneuthur.

Yr ydwyf wedi llafurio mewn mawr bleser gyda y Llywyddion Daniels ac Ashby; hefyd gyda Llywyddion y Cynnadleddau. Er eu bod yn anghyfarwydd a'u maesydd llafur, ac a'r sefyllfa i ba un eu galwyd i weithredu; etto yr oeddynt yn ddynion o gywirdeb, a'u dymuniad am wneuthur daioni yn feunyddiol.

Mae yr Henuriaid Miller a Taylor yma yn awr gyda chwi, teimlwyf i ddiolch i chwi oll am bob arddangosiad o gymmwynasgarwch i mi, ac i ddeisyf arnoch am beidio ein hanghofio yn eich gweddiau pan y teithiwn tua Seion. Er y byddwn yn mhell oddiwrthych, nyni a gofiwn am yr amser a dreuliasom yn y weinidogaeth yn Nghymru, a'n gweddiau a esgynant i'r uchelder am i waredigaeth ddyfod i'r ffyddlawn o bobl yr Arglwydd.

Bendithion y Nef a'n canlynom o hyd, fel y cyfarfyddom etto yn Seion, ydyw gweddi

Eich brawd a'ch cyfaill,

ISRAEL EVANS.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.


## DYDD SADWRN, MAWRTH 7, 1857.

DIWYGIAD.—Cynnelir Cyfarfod Diwygiadol yn y Swyddfa hon, ar y 12fed dydd o'r mis hwn, dan lywyddiaeth yr Apostol Benson. Yr ydys yn barod wedi rhybuddio y gwahanol Lywyddion a ddisgwylir i fod yn bresenol, a gobeithiwn y byddant oll yn egnïol yn eu hymdrechion i fod yma yn brydlawn i gyfarfod a'r Llywydd Benson yn ei ymweliad a ni ar achos mor bwysig a difrifol ag ydyw diwygiad cyffredinol y *Saint*.

---

## LLYTHYRON, &c., O'R DYFFRYN.

---

Dinas y Llyn Halen Mawr,

Tachwedd 11, 1856.

Fy anwyl frawd Daniels.—Da genyf eich hysbysu ddarfod i mi gyrhaedd yma yn ddiogel, yn nheulu Pantmawr, y rhai ydynt oll yn iach. Aethant hwy i Box Elder at eu perthynasau. Yr ydwyf fi yn gweithio yn South Cottonwood, a phan y byddwyf yn dyfod i'r Ddinas, yr ydwyf yn ymgartrefu yn eich ty a chyda eich teulu chwi.

Y mae eich caredig wraig yn iach. Aeth Dafydd eich mab allan i gyfarfod a chynnorthwyo y Saint ymfudol ar y plains, ac amrai ereill gydag ef heddyw.

Daeth un cwmpeini i mewn dydd sabboth diweddaf, a dysgwylir y lleill i mewn yn mhen wythnos.

Yr ydwyf wrth fodd fy nghalon, ac yn ddiolchgar i Dduw am y fraint o gael cyrhaedd y lle hwn. Yma y mae rhai o'r dynion goreu a welais erioed, ac hefyd rhai dynion drwg.

Fy nghofion gwresog at y Saint oll, eithr at neb yn fwy na'ch hunan.

Eich gostyngedig frawd,

RICHARD WILLIAMS.

---

*Difyniadau o Lythyr y Richard Williams uchod at ei berthynasau.*

---

Y mae Dinas y Llyn Halen mawr yn llawer ardderchocach lle nag y rhagfeddyliais ei bod, ac ystyried byrdra yr amser a gafodd ei phreswylwyr i'w hadeiladu.

Y mae yr amser yn agoshau pan na ddyoddefa y drygionus aros yma yn hwy. Galwad sydd ar bob person i edifarhau a gwneud yn well o hyn allan nag a wnaethant erioed. Y mae dynion wedi cael eu hapwyntio i ymweled a phob teulu o Saint trwy y Diriogaeth, ac i holi pob un deallus ar wahan pa un a ydyw yn euog o rhyw bechodau, megys lladrata, dywedyd celwydd, cymmeryd enw Duw yn ofer, twyllo brawd neu chwaer, neu o unrhyw bechodau ereill. Gofynir pob gofyniad ar ben ei hun, a gorfod ar bob person i'w hatteb. Os dywed anwir, yna, bydd melldith Duw arno: os yn euog ei geir, gofynir iawn am y trosedd. Nid oes yma le i rhagrithwyr, Y mae cannoedd o swyddogion wedi cael eu galw i chwilio i mewn i sefyllfa y bobl. Mae y brawd T. C. Martill yn un o honynt yn y dosparth lle y mae efe yn byw, ac y mae yn brysur wrth y cyfryw waith heddyw. Enfyn ei gofio atoch yn garedig.

Cofia y chwaer Daniels atoch, ac at teulu Cwmcoch, cofiwch finnan at fy mherthynasau, &c.

Yr ydwyf yn cael digon o waith am wyth swllt a grot y dydd a'm bwyd. . . .

Mae yr amser yn neshau pan y bydd llywodraeth yr Unol Dalaethau yn llaw y Saint. Dywed y Llywydd Brigham Young nad â nemawr flynyddau heibio cyn y bydd gan Lywydd Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf hawl i osod Llywydd ar yr Unol Dalaethau. Mae y gwaith yn myned yn mlaen yn gyflym iawn. Ymddeffroed ac ymddarpared y Saint yna erbyn yr amser sydd wrth y drws.

Bendith Duw fyddo gyda chwi oll. Amen.

RICHARD WILLIAMS.

(*Eto allan o Lythyr am Tachwedd* 16, 1855, *o'r un lle.*)

Anwyl frawd Daniels.—Da genyf glywed trwy y brawd Cadben Jones, am eich ffyddlondeb a'ch llwyddiant yn ngwaith ein Duw. Gweddiwn yn barhaus drosoch chwi a'ch cydlafurwyr.

Y mae diwygiad trwyadl a chyffredinol ar waith drwy holl estynfeydd Seion yn awr, hyd nes y mae y pechadur yn Seion yn ofni, a'r rhagrithiwr yn ffoi rhag yr arholiad tua brenhinfa y "Duw melyn," lle y gallant foddio eu chwantau mewn modd nas gallant yma.

Derbyniodd y brawd Cadben Jones roesawiad mawr gan bawb ar ei ddychweliad yma. Gwnaed ef yn genhadydd cartrefol er pregethu diwygiad trwy bob man, ond yn fwy neillduol yn mhlith y Cymry.

Y mae yr ymfudiad yn ddiweddar annghyffredin eleni. Dyoddefodd y rhai a diriasant wythnos i heddyw gryn lawer yn yr eira; eithr gwaredwyd hwynt trwy i tua 250 o weddeuau fyned oddiyma i'w cyfarfod, ac y mae tua 100 o wageni wedi myned i gyfarfod a'r cwmni olaf. Dysgwyliwn hwynt i mewn cyn pen 9 diwrnod. . . .

Dywedwch wrth bobl Hafod y Gofen fy mod wedi danfon dau lythyr attynt, ac nid ydwyf wedi cael un ateb, ac nas wn at bwy yr ysgrifenaf. . . .

Fy mawr ddymuniad dros eich llwyddiant yn y gwaith i'r hwn eich galwyd, am gweddi barhaus ar Dduw drosoch a fydd ar i chwi gael yn helaeth o'i Ysbryd Ef i'ch galluogi i wneuthur gwaith mawr etto yn Nghymru.

Eich hanwyl Frawd,

RICHARD WILLIAMS.

---

## "MESUR OEDRAN CYFLAWNDER CRIST."

Gan yr Henuriad Evan Rees.

(*Parhad o Rhif.* 2.)

Ar ol profi gwreiddioldeb dyn, sylwn yn nesaf ar ei sefyllfa bresenol a'i ymestyniad dyfodol.

Wedi *profi* mai Tad ein Hysbrydoedd ydyw Duw, nid oes achos rhagor na choffa ein bod wedi pechu i'w erbyn Ef, a myned yn ol am ei ogoniant—wedi cael ein geni i'r byd pech-

adurus hwn, i ganol pob math o dreialon a chroesau. fel y mae y geiriau canlynol yn cael eu gwirio ynom, sef, "Dyn a aned o wraig sydd fyr o ddyddiau, a llawer o helbul." Er hyny, mae yr holl bethau hyn yn dda er ein lles, oblegid, heb y drwg, ni ellir adnabod a gwerthfawrogi y da—heb y chwerw, nid mor flasus y melys.

Yr ydwyf wedi sylwi ar ddyn yn ei wreiddioldeb, ac yn ei sefyllfa bechadurus bresennol. Yn nesaf, ymholwn a ydyw yn bosibl i ddyn gael ei ddyrchafu o'r trueni hwn? Ydyw, y mae yn ddichonadwy i gael y caeth yn rhydd, a'r pell yn agos; eithr nid oedd felly cyn dyfod o'n Brawd Hynaf, Iesu Grist, ein Hiachawdwr, i'r ddaear hon i wisgo cnawd, a byw a marw er rhyngu bodd ei dad—fel yr agorai y llwybr i'n hachub ni, a'n dyrchafu yn ol yn breswylfa i Dduw. (Ephes. iii, 22.) "Yn yr hwn eich cydadeiladwyd chwithau hefyd yn breswylfa i Dduw trwy yr ysbryd." Os cawn Dduw i breswylio ynom, byddwn feddiannol ar bob peth. Dywed Paul yn eofn, mai eiddo i ni yw pob peth. Dywedir hefyd, "Un Duw a Thad oll, yr hwn sydd goruwch oll a thrwy oll, ac ynoch oll." Yma gwelwn fod y Tad ei hun i fod yn y corff hwn, ar ol ei gwbl lanhau a'i addasu, fel na fydd arno na brycheuyn na chrychni Credaf nas gall y pethau hyn ddyfod i ben cyn y bydd i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb, neu y caiff yr holl Saint gyrff adgyfodedig glân a phur, ac y byddant rhydd o'r anmherffeithrwydd presennol. Yna y bydd cyflawnder o Dduw yn yr holl dduwiolion, ac y bydd Duw oll yn oll. Dyna yr amser yr attebir gweddi ein Hiachawdwr. pan yr oedd efe yn gweddio ar y Tâd fel hyn, "O Dad, yr ydwyf yn gofyn am iddynt i fod yn un ynof fi, fel yr wyf fi ynot ti," &c. (Gwel St. Ioan ) Yna y byddwn ni yn Nghrist, a Christ yn Nuw.

Credaf fym od yn awr wedi dangos yn eithaf eglur y posiblrwydd o gynnyddiant dyn i'r sefyllfa y sonia Paul am dani, ac nad oes eisiau dim ond ymdrech o'n tu ni er ei chyrhaedd. Y mae ein Tad trugarog wedi cymmeradwyo y ffordd a drefnwyd gan y mab, ac y mae y mab yn dweyd, "Deuwch ataf fi bawb ar sydd flinedig ac yn drwm lwythog, a mi a esmwythaf arnoch," ac y mae ei weision Ef yn galw ac yn dweyd "Yr ydym ni yn genhadon dros Grist cymmoder chwi a Duw.

Fy nhad, y mae gair y cymmod gan Bregethwyr y Saint, ac

y mae lluoedd o Gymru fel minau yn gwybod hyny. Y mae y cynllun hyn mor effeithiol heddyw ag y bu erioed, ac y mae ei waith a'i effeithiau i'w gweled arnaf fi fy hun, fel y gallaf ddweyd yn ngeiriau y Salmydd yn y Salm xl, 2. "Cyfododd fi hefyd o'r pydew erchyll; allan o'r pridd tomlyd, ac a osododd fy nhraed ar y graig, gan hwylio fy ngherddediad a roddodd yn fy ngenau ganiad newydd o foliant i'r Arglwydd," a thyma hi.

"Clod am grefydd yn ei sylwedd,
Ce's rhyw gysgod ddigon hir;
Mewn tywyllwch bum hir amser,
Gyda 'r Saint ce's oleu clir,
Clod am dano,
Byth mi lynaf gyda 'r gwaith.

Eich mab mynwesol,
EVAN REES.

---

## FY MREUDDWYD.

---

Pan yn ardal Dyfed oeddwn,
Cefais freuddwyd er lleshad,
'R hon gynnwysai ddadguddiadau
Oddiwrth fy Nefol Dad.
Ynddi teithio wnes am ysbaid,
Rhwng mynyddoedd uchel iawn,
Pan yn syllu ar eu mawredd,
Arnynt eira oesawl gawn.

Gofyn wnaethym i'm cyd-deithiwr
"Dywed i mi, gyfaill gwiw,
"Beth yw'r oll a welaf yma
Y waith gyntaf yn fy myw;"
Clywais uchel lais yn atteb,
'Rhwn a ddaethai oddidraw,
Ei ddylanwad aeth trwy'm calon,
Minnau'n fud, a llawn o fraw.

Mewn rhwysgfawredd digyffelyb,
Gwelais berson hardd o'r Nef;
Teimlo wnawn yn llai na'r lleiaf,
Yn ei bresennoldeb Ef;

"Yr holl dyrfa hyn a weli,"
(Meddai,) "ydynt Saint ein Duw;
Casglu maent oll i'w llochesau,
Iddynt gwir rhagorfraint yw."

"Goruchwyliaeth fawr cyflawnder,
Yr amseroedd yw'r un hon;
Ynddi phiolau Duw dywelltir
Ar drigolion Babilon.
Holl addolwyr gau y bwystfil,
Deimlant er eu gwae, bob haint
Tra bo'r llid yn myned heibio,
Yn ddiogel bydd y Saint!

"Dyma'r rheswm pa'm y gwelir
Y dorf acw'n casglu nghyd,
Cyn digofaint Duw dywelltir,
Gartref bydd y Saint mewn pryd:"
Yno teimlais y waith gyntaf
Rhyfedd nerth yr Ysbryd Glân;
Goleu welwn braidd yn mhob man,
A'm holl galon fel ffiam dân.

Buan hedai'r meddwl treiddgar
Fel cref fellten fuan iawn,
Ac yn ganol yr hwylusder,
Unai'r boreu a'r prydnawn;
"Beth yw'r rheswm, (meddai wrthyf.)
Y gwnai wario'th oriau brau,
Mewn tywyllwch yn balfalu
Aros 'wyt mewn coleg gau.

"Tyr'd yn fuan i'r wir Eglwys,
Tyred mewn medd Ysbryd Duw,
Yna cei drag'wyddol fwyniant,
Hefyd hedd tra yma'n byw;"
"Credu oeddwn, (oedd yr atteb,)
Fy mod 'nawr yn nheyrnas Crist;
Ond yn wir ni feddaf sicrwydd,
Ac am hyn rwy'n teimlo'n drist.

Dywed i mi santaidd Athraw
  Pa ryw grefydd sydd yn bur;
Boddlon wyf gyssegru'm heinios
  Er meddiannu hon yn wir."
"Ti gei genyf weledigaeth,"
  (Oedd ei atteb siriol Ef;)
Edrych fynu gyda sobrwydd
  Ac onestrwydd tua'r nef."

Yno gwelais Iesu hawddgar,
  Ar ei orsedd gadarn gref;
Casglu nghyd yr oedd myrddiynau,
  Er eu barnu ganddo Ef;
Yno gwelwn grefyddolion
  Yr oes hon, a'u bronau'n brudd,
Cuddient eu gwynebau hirion,
  Heb feddianu gronyn ffydd.

Bratiau pydron oedd eu gwisgoedd;
  Wylent a galarent oll;
Bloeddiau'r Iesu'n awdurdol
  "Fod y dyrfa fawr ar goll;"
Yna gwelwn y Mormoniaid,
  Bodau gwynion, bodau glân.
Mewn llawenydd ymddangosent,
  Uchel, uchel oedd eu cân.

Amgylchynent yr hardd orsedd,
  Gan ddyrchafu uchel glod,
Parch dderbynient gan yr Iesu,
  Cyrchant atto fel eu nhôd,
'Rhai adnabum ar y ddaear
  Mewn tylodi, hwynt a gawn,
Heddyw oll, Offeiriad oeddynt,
  A brenhinoedd uchel iawn.

Hwy dderbynient fawr deyrnasoedd,
  Er eu llywodraethu byth,
Parch ac urddas oll a rhoddent,
  I'w hoff Brophwyd Joseph Smith,

Buan gwelais mai nid geirwir,
  Oedd fy nghrefydd ffug i gyd:
Yno wylwn mewn tylodi
  Pan terfynu oedd y byd.

Bloeddiais mewn angheuol lewyg,
  "Angel, dywed beth a wnaf:
Mewn tylodi wyf yn poeni,
  Fe aeth heibio'r dedwydd haf."
"Ymgysura, ymwrola;
  Ffydd ymarfer yn dy Dduw,
Fe estynir etto'th einioes,
  Am faith ysbaid ti gei fyw."

"Cyssegredig fyddo'th amser,
  Idd ei winllan odiaeth Ef;
Yn y cyn-fodoldeb meddaf,
  Rhagordeinwyd ti i'r nef.
"Edrych fyny i'r gogledd dir,
  Edrych, edrych gyda brys,
'Rhyn a wnaethum mewn buandra;"
  Drosof llifai'n llaith fawr chwys.

Yno gwelais ddyffryn odiaeth,
  Dyffryn prydferth—dyffryn Duw,
Dyffryn hoff mynyddoedd Ephraim
  Dyffryn lle ca'r Saint gyd fyw;
Addurnedig oedd gan flodau,
  Ac o ffrwythau o bob rhyw;
Ni chynnwysent hadau marwol,
  Arddangosent gariad Duw.

Gwelais yno bob danteithion,
  Hefyd rawnwin ynddo gawn;
Gwelwn yno lu yn gwledda,
  A'u cwpanau oll yn llawn.
Peraroglau yr heirdd flodau
  Oedd yn llanw yr holl nen;
Iesu yno yn teyrnasu,
  A'r hardd goron ar ei ben.

Ar dalcenau saith ugeinmil,
Gwelwn argraffedig air;
Mewn gogoniant fe rhagorai
Fyrdd o weithiau ar yr aur:
Duwiau oeddynt i'r goruchaf,
Ynddynt llwyr foddlonrwydd ga'dd.
Hwy feddiannent enwau eraill—
Archoffeiriaid uchaf radd.

*(I'w barhau.)*

NEWYDDION O UTAH.—(O'r *Star.*)—Trwy yr hysbysiad diweddaraf a dderbyniwyd o Utah, yn gynnwysedig yn llythyr y Llywydd Young, am Rhagfyr 7, 1856, da genym ddeall fod yr olaf o'r cwmnioedd llawgeirt wedi cyrhaedd Dinas y Llyn Halen Mawr. Yr oeddynt wedi dyoddef cryn dipyn eithr bu llai o farwolaeth yn eu plith nag sydd yn aml yn mhlith cwmpeini eithaf trefnus gydag ychain. Yr oedd dau gwmpeini annibynol gydag ychain etto ar ol, ond a ddysgwylid i mewn yn mhen ychydig ddiwrnodau. Yn ein rhifyn nesaf cyhoeddwn y llythyr yn gyflawn.

HWYLIAD.—Wrth lythyron rhagnodiadol rhai o'r Saint deallwn fod y llong GEORGE WASHINGTON, 1649 tynell o rhestriad, i hwylio o Lerpwll am Boston. Gofynir i'r *passengers* fod yn Lerpwll dydd Sadwrn, yr 21ain o'r mis hwn. Dechreuir rhestru enwau yr ymfudwyr yn Swyddfa Lerpwll boreu y Llun canlynol. Gofynir i'r ymfudwyr fod ar fwrdd y llong boreu y 26ain. Na aed neb cyn y caffo ei lythyr rhagnodiadol, yr hwn a ddylai gael ei ddarllen yn fanwl a'i ddeall.

CYFEIRIAD.—James J. Phillips, 7, Park-street, Swansea.

TALIADAU AM LYFRAU, o Chwefror 6fed hyd Mawrth 5ed.—Isaac Jones, 10s; John Jones, 3s. 6c; Michael Vaughan, £1; A. L. Jones, £3; Joseph Griffiths, 6s. 8c.; David John, £1; John Treharne, 9s. 5c.

ETTO AM DRAETHODAU.—John Treharne, 8s. 4c.; James Josiah Phillips, £2; Joseph Griffiths, 8s 4c; Michael Vaughan, £2 10s; John Jones, 11s. 6c; Isaac Jones, 10s, Charles Harman, 10s.; Wm. Ajax, Môn 13s. 8c.

CYNNWYSIAD.



ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 6.] MAWRTH 21, 1857. [CYF. X.

## MYNEGIAD CYNNADLEDD DDIWYGIADOL AC YMPRYDIOL, A GYNNALIWYD YN SWYDDFA "UDGORN SEION," ABERTAWY, DYDD IAU, MAWRTH 12, 1856.

### SWYDDOGION PRESENNOL.

Ezra T. Benson, Llywydd; yr Henuriaid Daniel Daniels, William Miller, a James Taylor, y Llywyddiaeth, ac Israel Evans a Benjamin Ashby, Cyn-gynghorwyr y Genadiaeth Gymreig; John E. Jones, Bugail dros, a chynrychiolydd mewn Cynghor i Gynnadleddau y Gogledd; Llywyddion Cynnadleddau Morganwg Ddwyreiniol. Morganwg Orllewinol, Mynwy, Brycheiniog, Llanelli, Caerfyrddin, Penfro, ac Aberteifi, ac amryw Henuriaid teithiol a lleol.

Nid oedd yr oll o'r Henuriaid uchod wedi cyrhaeddyd erbyn lly boreu, pryd yr agorwyd y Cynghor trwy ganu a gweddio,

*Y Llywydd.*—" Anwyl Frodyr, – Teimlaf yn llawen i gyfarfod a chwi ar yr achlysur hwn; ond gan nad yw yr oll o'r brodyr a ddisgwyliwn wedi dyfod, nis dechreuwn y gwaith mewn ffurf cysson a threfnus hyd nes y deuant. Meddyliwyf y bydd yn dda i ni, gan ein bod wedi ymgynnull ynghyd, i ymgrymu yn ostyngedig gerbron ein Duw; i ganu, siarad, ac addysgu ein gilydd am ychydig amser, a gohirio hyd un o'r

 Pris, 1½c.

gloch, pryd y disgwylir y brodyr i mewn.

Teimlwyf y bydd yn amser pwysig a dyddorol i'r holl bobl hyn, pan y bydd ganddynt naill ai addoli Duw neu Mammon yn hollol a diraniadol. Dywed yr ysgrythyrau, "Os yr Arglwydd sydd Dduw, canlynwch Ef: os Baal, yna canlynwch ef." Eithr gan fy mod yn deall egwyddorion yr Efengyl, teimlwyf i wasanaethu yr Arglwydd. Credwyf eich bod chwi am wasanaethu yr un Duw, ac am ddilyn yr un llwybr a minnau, i lafurio a'n holl nerth dros Seion, tra y parhao y dydd.

Ni fwriadwyf son am y mynedol, ond am yr hyn sydd i fod. Teimlwyf i roddi i chwi berffaith a chyfartal ryddid gyda'm hunan yn y cyfarfod hwn i arllwys allan eich heneidiau—i lefaru eich teimladau yn eofn a rhydd. Symudwyf bob rhwystr, a rhoddwyf gyflawn eangder i ddadfynwesiad holl deimladau pob un o honoch, o'r Llywydd Daniels i waered. Os oes genych unrhyw achwyniadau—unrhyw anfoddlonrwydd, chwerwedd, neu gynen tuag at eich llywyddion—os ydyw y ffrwyn yn cael ei thynu yn rhy dỳn, neu heb fod yn ddigon tyn (os yr olaf, gosodwn hi yn ddigon tyn arnoch. Nid oes perygl i'r cerbyd rhedeg ffwrdd a'r ceffylau.) Nis gallwn fwynhau llawer o Ysbryd Duw, heb deimlo ein hunain yn rhydd i ddadfynwesu ein teimladau i'n gilydd; ac heb "gydymgynghori llawer," fel yr addysga y Llywydd Brigham.

Teimlais ei fod o fawr bwys i mi ymweled a'r maes llafur helaeth hwn, (nid am nad oedd genyf lawer o fanau ereill i fyned iddynt) ac i gyfarfod a'r awdurdodau llywyddol, mewn rhyw le manteisiol, fel y caffem ddealltwriaeth a'n gilydd ynghylch y diwygiad pwysig sydd yn ofynol—i ymprydio a gweddio, ac ymddarostwng o flaen yr Arglwydd, ac i gael eich trin a'ch trafod hyd oni fyddwch yn addas i edifarhau am eich pechodau, i fyned i waered i ddyfroedd bedydd, er adnewyddu eich cyfammodau.

Dysgwyliaf y gwneir gwelliant trwy yr holl Genadiaeth—y cyflawnir mwy gan y brodyr Miller a Taylor nag a gyflawnwyd gan eu rhagflaenwyr, y brodyr Evans ac Ashby; nid am na fuont hwy yn ffyddlon (canys gwyddom iddynt fod); ond oherwydd cynnyddiant o oleuni, cyfleusterau a manteision ychwanegol, ynghyd a mwy o nerth. Bydd gafael genym yn y peth gerfydd ei ddolen mwyach, a gallwn ei arwain fel y dym-

hwn, ac, os bydd yn angenrheidiol, gallwn ddefnyddio y pastwn.

Hyfforddwyd ni (y Llywyddiaeth Brydeinig) i fyned allan, ac effeithio diwygiad, trwy gynhyrfu y bobl i ystyriaeth a chyflawniad o'u dyledswyddau, gan ddechreu yn mhob lle gyda'r awdurdodau llywyddol—i'w deffro, eu cynhyrfu, a'u hysgwyd hwynt yn gyntaf, ac, os bydd yn ofynol i'w curo a'u pastwnio hwynt hyd oni foddlonir ni gan yr effaith a ga. Yr ydwyf yma gyda chwi yn barod i fyned atti o ddifrif, gan obeithio eich bod chwi yn gyffelyb i glai tyner ac ystwyth, yn y lle hwn, ac nad oes defnydd brau ac holltawg ynoch, fel eich ffurfier yn lestri i anrhydedd. Wedi yr elo llestri pridd trwy y felin a llaw y ffurfiwr, y mae ganddynt wedi hyny sefyll y tân. Hollta llawer yn y tân. Mae llawer triniaeth brofiadol i fyned trwyddi. Mae amryw lestri yma yn bresennol, ac ychwaneg yn cael eu dysgwyl; gobeithiaf y gweithir hwynt i'r iawn ffurf cyn y darfyddaf.

Dymunwyf glywed eich teimladau a'ch bwriadau—pa un a fwriadwch fod yn ufydd i'r rhai a lywyddant drosoch. Y mae genyf fi Lywydd, sef y brawd Pratt. Yr ydwyf yn ystwyth yn ei ddwylaw. Os dywed wrthyf am fyned, af, os i ddychwelyd yn ddioed, dychwelaf gyda y cerbyd cyntaf, a dywedaf, "Pa fodd gallaf eich gwasanaethu, frawd Pratt? A gaf fi lanhau eich hesgidiau, redeg ar neges, neu fyned i'r morfa i weled a oes yno long a ellir ei llogi?" Yr ydwyf yn wastad ar law, ac yn barod wrth yr alwad i fyned i unrhyw ran o'r ddaear lle ym danfonir, neu i wneuthur unrhyw beth sydd ofynol. Mae arnaf eisiau gweled ysbryd gostyngeiddrwydd yn gorphwys ar fy holl frodyr. Pan fyddo ysbryd gostyngeiddrwydd ynoch, pryd hyny mae ynoch ysbryd derchafiad. Mewn rhai enghreifftiau, yn lle yr ysbryd gostyngedig hwn, y mae uchelfrydigrwydd ac hunanoldeb. Saif y Bugail a'r Llywydd Cynnadledd croes-farnol yn ysgyrnygu ar eu gilydd fel dau arth, gan ofni gwrthdaraw eu gilydd, rhag i frwydr ddigwydd. Yn wir, ystyria y Bugail ymostyngol y Llywydd Cynnadledd rhodresfawr yn fwy ac yn ddoethach na'i hunan; neu creda y Llywydd ymddyrchafol ei fod yn fwy o ddyn na'i fugail, neu o leiaf y dylasai gael bod; ac, mewn rhai enghreifftiau, bu y Llywydd mawr unwaith yn Fugail! Yr ydwyf am i'r fath

ysbryd, os ydyw yma, i gael ei droedio allan o'r genadiaeth, ac am weled pob un yn ei le ei hun. Gorphwys bwysigrwydd y Genadiaeth hon ar ei Llywydd, y brawd Daniels, ac nid ar ei gynghorwyr. Nid ydynt hwy yn gyfrifol am fwy na esyd y Llywydd Daniels arnynt.

Rhaid i'r diwygiad hwn yn Nghymru ddechreu yn y pen, a myned i waered i'r traed a'r bysedd.

Mae y brawd Miller wedi adrodd wrthyf pa fodd y mae cyfarfodydd lle ei cyhoeddwyd ef i bregethu wedi cael eu treulio i adrodd a chanu hymnau hirion, a gyrhaeddent, (mewn ystyr ffigurol) oddiyma i Boston, o flaen ac ar ol cyffelyb weddi. Yna, cyfodai Llywydd y Gangen, neu y Gynnadledd, a phregethai y rhagymadroddion i'r "gwr dyeithr," a'i gyfleu o flaen y gynnulleidfa, ar ol ei ganmol i'r nef uchaf, neu alw ar frawd arall i wneuthur yr unpeth drachefn, hyd oni fyddai yn agos amser terfynu cyn y dechreuai y gwr hynod. Mae arnom eisiau darfod a'r fath bethau, a chael gan ddynion i ymarferyd yn weithredol a'u crefydd. Y mae yn tristâu Ysbryd yr Arglwydd. Os trista neb o honom y dyn fyddo yn uwch na nyni yn yr Arglwydd, dywedaf wrthych y bydd yn rhwystr mawr ar ein ffordd i dderbyn yn hael o Ysbryd Duw. Rhaid i'r fath rhwystr gael ei symud, os cawn ef yma. Y mae arnom eisiau cael ein bendithio a'n llwyddo—i weled Teyrnas Dduw yn ymwthio yn mlaen, ac os na wnawn ni y gwaith, cawn ein symud, a gosodir ereill, y rhai a'i gwnant, yn ein lle. Nid yw pawb dynion bob amser yn gwneuthur pethau yr un modd. Os oes genyf fi fy meiau, rhaid i chwi gyd-ddwyn a mi, ac os yw fy ffyrdd yn wahanol i eiddo dynion eraill, gellwch ddodi fyny a hwynt.

Bum gyda y brawd Ross trwy yr oll o genadiaeth Llundain, lle y bum yn siarad, gweithio, gwingo, a dwrdio, megis a morthwyl a phastwn, hyd nes y cefais bob peth o'r diwedd i'r ffurf y chwennychwn hwynt,—daeth y brodyr i ganfod yn yr un go'eu a minnau yn y diwedd. Dywedodd y brawd Ross iddo fod yn llafurio dan bedair gweinidogaeth yn y genadiaeth Brydeinig, ac wedi eu cael oll yn gwahaniaethu yn eu trefniadau. Fe ddichon ei fod felly i rhyw raddau. Gwahaniaetha amgylchiadau, Llywodraethwn amgylchiadau i ryw raddau; etto, rhai amgylchiadau a'n llywodraethant ninnau: eithr nyni

a ddylem eu llywodraethu hwynt mor belled ag y mae modd.

Dymunwyf weled eich llygaid wedi cael eu hagor, eich dealltwriaeth wedi ei goleuo,—llen tywyllwch a thraddodiad wedi ei rhwygo oddiar eich llygaid. Dylech gadw y gair o ddoethineb, a'r geiriau doethineb, myfyrio pa fodd i fod yn fwyaf diwyd a chynnil. Ni weddai i unrhyw Henuriad yn y genadiaeth hon i redeg oddiamgylch, marchog, cerdded, a siarad, i ba le, pa bryd, a pha fodd bynag y mynont, heb hyfforddiad eu llywydd sydd yn uwch na hwynt. Ni edrychai yn weddus i neb fyned i rhyw le a fwriada efe fyned, ac anfon Henuriad arall allan yn ei le, tra yr erys efe i fwynhau ei hun a segura, ac yn y diwedd, feallai ugain milltir o'i iawn faes llafur. A ennillai y fath un wobr? Ddim un dda, modd bynag. Os y llogaf ddyn i aredig fy maes, ac yr â, yn lle hyny, i'w dŷ ei hun i eistedd, bwyta, yfed, cysgu, gwisgo, ac ymfwynhau, na ddisgwylied dal. Yr ydym ni yn Henuriaid Israel, ac yn llafurwyr yn ngwinllan Crist. Mae byd y nod y Cenedloedd yn ystyriol a gofalus, ac yn ymddyddori yn ngwaith eu meistr, er eu bod yn cael gormes a chaledi. Pan ystyriom well gwaith a chyflog ein tirion Feistr Mawr, a'r rhyddid a'r esmwythdra a fwynhawn, mewn cyferbyniad i'r cenedloedd, dylem fod yn fwy diwyd, gweithgar, gofalus, a chynnil gyda gwaith ein Tad, yn yr hwn y mae ein holl fwynhad dyfodol yn gynnwysedig. Dymunwyf i chwi fyfyrio ar y pethau hyn, a gweled os ydych yn ystwyth yn nwylaw yr Arglwydd; ac os ydych yn ystwyth yn ei ddwylaw Ef, yr ydych felly yn llaw eich llywydd. Ein dyledswydd yw llafurio i'r fantais oreu a allwn ddyfeisio. Ni orfodwyd un o honom i gredu ac ufuddhau i'r efengyl, nac i gymmeryd yr offeiriadaeth a myned allan i lafurio; eithr gwnaethom y cwbl yn wirfoddol. Y mae dynion a rhyw esguson rhag eu dyledswyddau pan y maent yn newynog, noeth, neu afiach; eithr pan y maent yn cael eu porthi yn dda hyd onid ydynt yn ymbesgi, ac yn cael eu dilladu yn wych; yn siwr, meddyliwn i, dylent fyned allan a llafurio a'u holl nerth, a chyflawni rhywbeth hefyd. Nid oes dim yn fwy angenrheidiol na diwygiad hollol. Y mae arnom eisiau cychwyn o'r newydd, a byddai cystal i ni ddechreu yn awr.

Mae y cyfarfod yn awr at eich gwasanaeth. Dymunwyf i'r Arglwydd ein bendithio, a chaniatau i ni amser o gydlawenydd,

yn enw ei fab, Iesu Grist. Amen.

Y LLYWYDD DANIEL DANIELS a lawenhäai yn y syniadau a fynegwyd eisioes, ac yn y meddwl am gael gwelliant yn mhethau y genhadiaeth. Am dano ei hun, gallai ddweyd mai ei unig les a'i holl ymgais oedd adeiladu teyrnas Dduw. Gwyddai nad ei threfn oedd i ddyn feddwl am dano ei hun yn gyntaf. Pan y cynnygiai y fath ysbryd ei hun iddo ef, gwrthwynebai ef bob amser, gan geisio yn gyntaf y deyrnas. Bod ein Llywydd wedi dyfod, ac y caffai farnu lle mae y rhwystr sydd yn attal y gwaith. Y mae yn ffaith fod miloedd yn Nghymru yn credu yr efengyl, ond na ddeuent i gael eu bedyddio. Bu pregethu ffyddlon a diwyd trwy yr holl genadiaeth; eithr ni fedyddiwyd ond ychydig. Gwnaed cynnygiadau personol at gael diwygiad gydag ychydig lwyddiant, ond teimlai y caffai y diwygiad iawn-darddiol yma ei lawn effaith. Teimlai i ddywedyd, pe y rhenid ei gorph a'i ysbryd y dydd hwn, na cheffid ynddo un teimlad drwg tuag at unrhyw berson ar wyneb y greadigaeth, er ei fod yn teimlo dros waith ei Dduw. Gwaith manwl ydyw. Hawdd i ni mewn un diwrnod ddinystrio yr hyn a gymmerai flynyddau i'w adferyd. Teimlai yr angenrheidrwydd o gael ei adnewyddu. Boddlon ydoedd i ymostwng a chusanu y wialen, a'i dyoddef i'r eithaflon yr haeddai hi. Dymunai amser da yn ein cymmanfa, a diwygiad effeithiol a thrwyadl, fel y caffem gynnyddiant o allu Duw. Ni wyddai am unrhyw bechod neillduol ag oedd ynddo, heblaw ffaeleddau a cholliadau.

YR HENURIAD ISRAEL EVANS a ddywed fel yr oedd wedi byw a gwneuthur yn dda yn ol ei wybodaeth yn ystod y flwyddyn ag y mae wedi bod yn llafurio yn Nghymru. Teimlai yn dda tuag at y Llywydd Daniels, unig amcan yr hwn ydoedd llwyddiant y genadiaeth hon. Hefyd y brawd Ashby. Gwelai yr un argoelion da ar rhai a ddywed y Llywydd Daniels. Yr ydoedd wedi pregethu allan yr hâf diweddaf, a bedyddio ychydig. Credai mai pan y glanhaem ein hunain i mewn ac allan, yn nghyd ar holl Eglwys yr un modd, y gwelai y gonest-galon rhyw rinweddau dymunol a gwahoddiadol ynom ac y deuai i mewn. Bu ddwywaith oddiamgylch yr holl genadiaeth, ac amryw weithiau trwy ei rhanau deheuol. Dywedai dros Lywyddion y Cynnadleddau iddynt fod yn ffyddlon yn ol eu

ychydig brofiad a'u gwybodaeth.

YR HENURIAD B. ASHBY a wnaeth gyffelyb sylwadau am y modd y llafuriodd, &c. Credai mai y modd i ddiwygio y bobl ydoedd i roddi ychwaneg o addysgiadau ac esiamplau da iddynt etto, er iddynt eu dilyn. Yr ydoedd wedi cadw y gair o ddoethineb, neu ni allasai fod wedi byw yn y *climate* hwn, a chadw rhai o'r geiriau doethineb. Teimlai fod calon y Llywydd Daniels yn gywir ac yn uniawn gerbron yr Arglwydd, ac os y methodd erioed, iddo ei wneuthur gyda theimladau a bwriadau da, ac yr aberthai unrhyw gysur a mwynhad personol er mwyn yr hyn a feddyliai efe fyddai yn leshad i waith Duw. Dywedai dros y Saint Cymreig eu bod yn bobl a lynent yn dyn wrth athrawiaeth ac esiampl dda; ni welodd erioed bobl mwy goddefgar a manwl i ddilyn cynghor, ac i ufyddhau i'r offeiriadaeth sydd yn gosod esiamplau da o'u blaen. Ni fu erioed bobl gwell a mwy calon dyner na'r Saint Cymreig i'r rhai a ant i'w plith gyda'u mynwesau yn llawn o'r Ysbryd santaidd. Sylwodd ar lwyddiant y degwm.

Yr Henuriad W. Miller a sylwodd ar bregethiad a llwyddiant y degwm,—y diwydrwydd a fu i bregethu, a'r argoelion dyfodol,—ei benderfyniad i fyw ei grefydd, ac i ddysgu ereill i wneuthur felly—ar ufydd-dod i'r offeiriadaeth, &c.

Yr Henuriad Taylor a fynegodd ei gariad at y gwaith,- ei ddymuniad i'w weled yn llwyddo, a'r bobl yn cael eu diwygio, —ei benderfyniad i fod yn ufydd i'r Llywydd Daniels,—a'i gydsyniad a'r Henuriad Ashby ynghylch y Saint Cymreig.

Y Bugail John E. Jones a ddywed fel yr oedd meddyliau ac amgylchiadau y bobl yn y Gogledd, wedi cael eu darparu i ddebyn y diwygiad—y fraint o gael mynegu teimladau ei lawenydd ef a'r bobl Gogleddol yn, a'u diwydrwydd i bregethu yr Efengyl, yngwyneb y caledi sydd yn y Gogledd—ei deimladau da at ei Lywyddion—fel y cadwodd y gair o ddoethineb, gan ymprydio hefyd, gweddio, ymlanhau. ymolchi, enneinio, ac ymburo ger bron Duw, er cael ei Ysbryd; a'r brodyr ereill gydag ef—eu dymuniad am ychwaneg o nerth yr Offeiriadaeth – amgylchiadau tlawd pobl y Gogledd yn gyffredin—cynnildeb y brodyr llywyddol. Er engraifft, llywydda y brawd Wm. Ajax, Gynnadledd Dyffryn Conway a Môn, gan deithio trwy Fôn ac Arfon. Ni chymerodd ond tri swllt o gynnorthwy yr eg-

lwys yn ystod tri mis, trwy fyned a thipyn o bapyr, &c. gydag ef i werthu, a thrwy fyw yn gynnil a chaled. Yr Henuriad Hugh Evans, sy'n llywyddu Cynnadledd Sir Dinbych, Mae yn gweithio wrth ei grefft, talu ei ddegwm, a theithio llawer. Felly yr oedd ei rhagflaenydd, yr Henur. G. Roberts hefyd. Yr Henur. David John sy'n llywyddu Cynnadledd Sir Ffint yn ffyddlon heb bwyso nemawr arni. Yr Henur. John Treharne, llywydd Cynnadledd Sir Feirionydd a deithiodd lawer trwy y gwanwyn a'r haf diweddaf, gan adeiladu Saint ei ofal a phregethu yn ffyddlon i'r cenhedloedd, ac yn y gauaf aeth i weithio yno a chynnorthwyo ei Gynnadledd i dalu ei harian teml a'i threuliadau, ac i ennill dillad iddo ef ei hun, gan deithio ar y Sul, a phob cyfleustra a gaffo. Dyled y pedair Cynnadledd fach hyn i'r ddwy swyddfa yw tua £100. Rhifedi eu haelodau o bob math yw tua 350. Nifer y dynion a'r benywod ffyddlon, gweithgar, a chynnorthwyol, i'r achos yw tua 85. Mae eisiau tri neu bedwar o Henuriaid i deithio trwy y Gogledd yn yr haf.

Dangosodd eu hamgylchiadau i gynnorthwyo y brodyr Evans ag Ashby i ymfudo, yn ngwyneb fod dyledswydd arnynt i gynnorthwyo y brawd G Roberts i hyny, a'u cariad at bawb o'u llywyddion. Unig ymgais y bugail Jones ydoedd llwyddiant yr Efengyl. Ymddiriedai a llawenhaai yn y diwygiad, Penderfynai fod yn fwy sobr, cynnil a selog nag erioed, er cael mwy o nerth. Er ymweled mor aml a allai a Saint ei Fugeiliaeth yr ydoedd wedi teithio tua dwy fil o filldiroedd yn yr wyth mis diweddaf. Awyddai am gael adnewyddu ei gyfammod a phenderfynai barhau i gadw y gair o ddoethineb.

Y Llywydd Benson a'n hannogodd i beidio a dilyn esiampl ddrwg neb, gan nad pa mor uchelly byddo, yn groes i ddadguddiadau roddedig y nef. Gwyddai Paul pe deuai angel o'r nef i bregethu yn groes iddynt, mai angel gwrthgiliedig fyddai, ac y bydai melldith Duw arno.

Canwyd "O ye Mountains High" yn felys a pheroraidd ar y dôn "Minnie Gray," a gohiriwyd hyd ddau yn y prydnawn.

Dylasem nodi yn flaenorol i'r Llywydd Benson, ar ddechreu y cyfarfod alw ar yr ysgrifenydd i ddarllen llythyr y Llywydd Brigham Young.

Dau or gloch y prydnawn canwyd " Oh my father thou that dwellest," &c. Gweddiodd y Llywydd Benson.

Ar gais y Llywydd, darllenodd yr Ysgrifenydd, Wm. Lewis, gofnodau y cyfarfod diwygiadol yn Lerpwll.

Y Llywydd Benson a sylwodd fod y rhai ag oeddynt absenol yn y boreu wedi ymgynnull. Gofynai iddynt dywallt allan holl gynnwysiad eu heneidiau—roddi cyfrif manwl o'u hunain os oeddynt am ddiwygiad, yr hwn a ysgubai yn lan. Cofient fod y gair o ddoethineb yn meddwl y peth a ddywed, a dweyd a feddyliai—fod te, coffi, diodydd poethion meddwol, &c, yn ddrwg a niweidiol, ac yn ein rhwystro i gael digon o Ysbryd yr Arglwydd. Bu efe a'r Llywydd Pratt yn dechreu y diwygiad yn Swyddfa Lerpwll, ac yn scwrio a glanhau o ben y *garret* i waelod y *cellar*, hyd oni effeithiwyd diwygiad trwyadl. Rhaid i'r un ysbryd gael ei gario trwy yr holl genadiaethau Ewropaidd. Yr ydym wedi bod am flynyddau ddigon yn cellwair a dadguddiadau Duw. Mae bendithion y nef yn canlyn eu cyflawniad. Gwyddai am un brawd ar genadiaeth, sef Daniel Davies, ag sydd wedi bod yn fanol i gadw y gair a'r geiriau o ddoethineb, a chael ei fendithio. Pan elai i weinyddu ar y cleifion, gwellhaid hwynt ; a syrthiai yr Ysbryd arno hyd oni phrophwydai, Nid yw yn ddyn sydd yn naturiol a llawer o o allu mesmeryddol ynddo ; ond fod ganddo galon a theimladau da. Nid oes Gynnadledd o fewn y Genadiaeth Frydeinig mewn gwell cyflwr na'i un ef. Yn wir, dyna yr unig un lle y cafodd y Llywydd Benson fod ysbryd Seion yn hollol deyrnasu. Pan aeth i'w cyfarfod, cafodd hwynt oll mewn trefn : ni throent i sylwi ar bob un a ddeuai i mewn, ond syllent yn graff ar y llefarwr. Dywedodd y brawd Davies wrtho, "frawd Benson, mae y cyfarfod yn eich llaw, ac yn amser i'w ddechreu." Dymunai i Henuriaid llywyddol Cymru ddysgyblu eu cynnulleidfaoedd yr un modd.

Canolbwyntiwn allu ein Hoffeiriadaeth (meddai) yn y cyfarfod hwn. Os teimlwch i brophwydo, llefaru a thafodau, llefaru eich teimladau, neu pa beth bynag a fynoch, Byddwch mor rhydd a'r awyr agored. Os nad ydych yn teimlo yn rhydd at y Llywydd Daniels, neu rhyw un o'ch llywyddion, dadfynweswch y teimlad. Os ydych, ewch allan yn ol ei gyngor, a byddwch ostyngedig ac ufudd iddo. Efe sydd yn

gyfrifol am bethau y Genadiaeth hon, a nyni a'i daliwn ef yn gyfrifol; eithr disgwyliwn ar yr un pryd na chaiff ei sarhau.

Y peth cyntaf a ofynwn ger ein bron yn y cyfarfod hwn, ydyw ynghylch y diwygiad, a'ch penderfyniad i fyned allan i weithio yn ddifrifol hyd oni elwir chwi yn ol. Pan y gofynwyd i'r brawd Daniel Davies pa bryd y bwriadai efe ddychwelyd i Seion, "O, tua'r amser y gorphenir y deml, gwelaf fi," meddai. Os cael yr enw o fyned allan i weithio, gweithiwn yn ddidwyll. Os llogaf ddyn i hau fy ngwenith, ac yr haua efe efrau yn lle hyny, troaf ef i ffwrdd, a chospaf ef. Felly y gwna yr Arglwydd. Ni ofyna i ni hau marwolaeth; ond geiriau bywyd ac iachawdwriaeth. Os na wnawn hyny, geilw ein Llywydd ni yn ol, ac ysgymuna ni; a gesyd ereill yn ein llefydd.

Darllenodd yr Ysgrifenydd gofnodau y cyfarfod boreuol.

Dywedodd yr holl henuriaid eu teimladau. Cydunent yn eu penderfyniad i ymddiwygio eu hunain, ac i ddiwygio y Saint byw yn nes at Dduw, er cael ei Ysbryd, ac i lanhau yr Eglwys o'r rhai na fyddant byw eu crefydd, fel y delo y gonest galon i mewn i'r Eglwys, ac y llwyddo gwaith yr Arglwydd o'r newydd. Yn y mwyafrif o'r cynnadleddau cafwyd nad oedd yn agos y rhai a ddylent yn talu eu degwm.

Y Llywydd Benson a ddangosodd mai dyledswydd y Saint ydyw talu eu degwm, a gadael y gorchwyl o edrych ar ol ei dreuliad i'r sawl fo'n llywyddu y trysorydd,—na ddylid tirion eirio y gwirionedd noeth; ond ei draethu yn hy, heb hidio am deimladau croes neb; nid cydymdeimlo a hwynt ddylid, ond eu ffiangellu, a'u ceryddu, a churo'r diawl allan o honynt, ac yna gellid gwneuthur rhyw ddaioni gyda hwynt— ac mai y sawl ai gwnelai a hwynt fyddai fwyaf ei barch yn y diwedd. Na fwried yr Henuriaid eu cyfrif yn gyntaf; ond caffont y bobl i dalu eu degwn, ac yna hawdd iawn ydyw gwybod pa beth ellir wneuthur.

Yr Henuriad Henry Harris a adroddodd ei helynt tra yn profi y byd.

Y Bugail J. E. Jones a fynegodd ffyddlondeb *Saint* y Gogledd i dalu y degwm—fod rhai wedi cynnyg ei dalu pan y byddai ganddynt fod heb fwyd, ac mor gynnil a chaled y mae amryw yn byw er ei dalu.

Llefarodd Henuriaid ereill drachefn ar wahanol byneiau.

Sylwodd y Llywydd ar "gydymdeimlad Mormonaidd," a ffaeleddau pobl yn cael eu mynegu wrthynt, mai defnydd gwael i ddynion fyw arno ydyw. Ffaeledd gyffredin mewn henuriaid ydyw cymmeryd eu cario ymaith gyda ffrwd tosturi dros bechod, yn hytrach na meddu Ysbryd yr Arglwydd, a dysgu yr egwyddorion fel ag y maent.

Annogodd y Llywyddion i beidio caniatau i neb o'r Saint fyned oddiamgylch a dweyd yn ddrwg am eu huwchafiaid, pa un a fydd yn wir neu anwir ; os y blaenaf, rhaid ei ddweyd yn yr ysbryd a'r lle iawn.

"Os ewch (meddai) i blith y bobl i ddweyd eu dyledswydd yn ddidderbyn wyneb, gyda nerth, a thaflu geiriau gwirionedd megis, trysau, llyched, a chenllysg i'w mysg, chwi a lwyddwch i wneuthur yr hyn a ddymunwch. Prophwydaf y gwneir gwaith mawr yn Nghymru etto. Mae y Saint Cymreig yn bobl da ; ac os â yr Henuriad Llywyddol attynt yn yr iawn ffordd i ymofyn yr hyn sydd eisiau, ac i fendithio y bobl, hwy a lwyddant Dywedont yr angen yn bendant ac eglur ar unwaith. Fe lwydda y Genadiaeth hon.

Aed y brawd Daniels allan o'r Swyddfa gymmaint a allo i blith y bobl, pe ei orfodid i gael rhyw un arall yn ei le gyda'r argraffu, &c. Mae y brawd Daniels yn ddyn cynnil : efe a dreuliai ei fysedd a'i ddwylaw i ddiddymdra wrth weithio, a gwasgai ei hun er lleshad teyrnas Dduw—i arbed swllt o'i harian hi, efe a deithiai ddeuddeg neu bymtheg milltir, yn hytrach na marchog. O na wnelai pawb Henuriaid llywyddol a theithiol felly. (Dangosodd y Llywydd Daniels ei foddlonrwydd i wneuthur yr archiad.)

"Colled mawr i unrhyw lywyddiaeth ydyw peidio cydymgynghori.

"Dealled yr Henuriaid pa ysbryd sydd yn adeiladu, a pha un sydd yn tynu i lawr deyrnas Dduw. Dymunaf i gyngorwyr y llywydd fyw yn ei galon gan gario allan yn ewyllysgar ei holl fesurau, ac i'r llywydd i wneyd yn ddigon eofn i'w gofyn. Pan gyfyd dynion yn uwch na'u llefydd maent yn sefyll ar lefydd llithrig.

"Ail ymgyfamodwch i fyw wrth bob gair a ddaw allan o enau Duw, ac, lle y byddo, na ddyger hen ddiflasdod i fyny

eilwaith, ond cladder ef, y fywell a'i choes.

"Cadwer y gair o ddoethineb, ac na thorer y cyfammod newydd a wneir. Na fydder yn rhy galed wrth y Saint, ac na adawer i bethau fod ar ol ychwaith.

Cynnydded pob Henuriad ei ddiwydrwydd, ac aed at y cenedloedd gymmaint a allo i'w sugno hwy dipyn yn lle y Saint."

Yn yr hwyr, aeth y brodyr oll i waered i'r môr, lle yr adnewyddasant eu cyfammodau trwy Fedydd.

Am wyth yr hwyr cyfarfyddasant drachefn, pan eu cadarnhawyd ac eu bendithiwyd.

*Dydd Gwener, y 13eg :—*

Canwyd "Oh say what is Truth." Gweddiodd y Llywydd Canwyd "The God that others worship."

*Y Llywydd Benson.*—Pan y penderfynais ddyfod i Gymru teimlas i gael y brodyr llywyddol ynghyd mewn ystafell am, o lelaf, dri diwrnod, i ymprydio a gweddio'n ddibaid hyd oni chaffom dywalltiad helaeth o'r Ysbryd Glan arnom ; canys mi a wn fod yr Arglwydd yn fwy parod a boddlawn i'w gyfranu nag ydym ni i addasu ein hunain i'w dderbyn. Etto ni wthiaEfe ei Ysbryd i ni : yr ydym yn oruchwylwyr drosom ein hunain, ac at ein rhyddid i wasanaethu yr un a ddewisom—Duw neu y diafol—i fod yn ddeiliad o deyrnas y naill neu y llall. Yr ydym ni wedi dewis y blaenaf. Profasom hyny trwy ein hufudd-dod i'r efengyl a ddanfonodd Efe attom gyda'i weision, a thrwy ein cyfammodau.

Adnebydd pob un sydd yma ei galon ei hun oreu, ynghyd a'r llwybr y mae wedi ei ddilyn. Nid oes Henuriad yn yr ystafell ar nad all adfyfyrio ar ei ymddygiad mynedol a gweled fod oriau, dyddiau, wythnosau wedi cael eu treulio yn yr Eglwys hon i ddim un daioni iddynt eu hunain na'r Eglwys; ond yn hytrach yn rhwystr. Yr ydych yn awr wedi ymgyfammodi am y tro diweddaf, ac y mae genych, o hyn allan, i fyw eich crefydd, nid wrth rhan o honi, ond wrth bob gair a ddaw allan o enau Duw. Y mae yn gyfammod mawr a phwysig, ac fe ddeil yr Arglwydd chwi atto. Ni orfodwyd chwi i'w wneuthur, ond chwychwi a'i gwnaethoch yn ewyllysgar. Gwyddech ei fod yn iawn, ac yn unig noddfa i chwi, fel y gwyddech pan yr ufuddhasoch i'r efengyl. Gwyddoch nad allwch fyw yn yr Eglwys hon fel yr ydych wedi bod yn byw ; canys yr ydych

wedi sathru dadguddiadau Iesu Grist dan draed, a sarhau yr Hollalluog, ac y mae Efe wedi bod yn ddig wrthom—gwledda, torri y gair o ddoethineb, a segura, yn lle myned allan i bregethu yr efengyl. Gwyr pob un o honoch fesur ei feiau yn hyn. Yn awr yr ydym yn myned i ddiwygio, a chychwyn o'r newydd. Gofynir i chwi ein cynnorthwyo i daro y cen ymaith oddiar lygaid y bobl; ac i fod mor ddiwyd a ffyddlon ag yr ydym ni, ac yn ffyddlonach os gallwch. Nid ydyw un dyn i gael ei gyfyngu—ei fraint ydyw caffael yr holl olenni, doethineb, a gallu a allo gyrhaedd—i gael dadguddiadau Iesu Grist, a chael ei amwisgo a'r Ysbryd santaidd megis a mantell, o'r boreu hyd yr hwyr; ac os gwnewch yn unol a'ch cyfammodau, chwi a lenwir ag ef, ac nid oes a rwystra eich llwyddiant. Ein braint ydyw ei dderbyn, a nyni a'i derbyniwn, os byddwn yn ysbrydol feddwl, ac yn hoffi myfyrio ar a siarad am bethau y deyrnas. Rhaid i ni roddi heibio siarad ysgafn ochr yr aelwyd, a dilyn y llwybr i beidio a thristau Ysbryd yr Arglwydd, na theimladau ein brodyr. Dylem fod mor ofalus a gwerthfawrogol o deimladau ein brodyr ag ydym o ganwyll ein llygad.

Mae gwaith yr Arglwydd i gael ei gyflawni genym ni, ei weision. Nid yw Efe yn bwriadu dyfod yma etto yn bersonol i bregethu wrth a bendithio y bobl. Bu yn gwneuthur hyny unwaith, a chyn y gwna hyny etto, symuda ni, a gesyd ereill yn ein llefydd a'i gwnant yn well.

Ewch allan i'ch maesydd llafur gyda chalonau gweddigar, ac yn lle segura, gwledda, a chwareu, llanwer chwi a'r Ysbryd Glân, fel, pan eloch i breswylfod, yr adnabyddoch ysbryd y bobl. Pa le bynnag yr eloch, dysgwch iddynt drefn a glanweidd-dra, ac i fyw eu crefydd yn gyfangwbl. Nid oes genym ni, Henuriad llywyddol a theithiol, ddim arall i wneuthur, ond byw ein crefydd, a dysgu ereill i wneuthur felly. Yn lle hyny feallai yr â rhai i dai dynion i siarad oferedd. Mae llawer eithriad anrhydeddus yn hyn. Cyn gadael unrhyw deulu a ymwelom a hwynt dylem, ar ol eu dysgu, blygu ar ein gliniau gyda hwynt, a gweddio drostynt, a gadael heddwch Duw ar y tŷ, Gwell yw hyn na chwareu gyda'r merched. Yn hytrach na hyn dysgwn iddynt rinwedd a santeiddrwydd. Gadawn argraff dda ac annileadwy o ba le bynnag yr awn, o blith Saint neu Genedloedd, fel na chaffont ynom fai na drwg; ond y

gallont dystio i'n duwiolfrydigrwydd. Gwell yw pregeth esiampl na geiriau. Yr ydym wedi ymarfer yn ddigon hir a'r rhan athrawiaethol o'n crefydd—y weithredol sydd o'n blaen yn awr. Dywed y Llywydd Brigham, "Gweithiwch, llafuriwch dros Seion." Ein unig waith ni ydyw llafurio dros Seion, a gweinyddu yn ordinhadau tŷ yr Arglwydd. I ba beth y gelwir dyn i'r Offeiriadaeth, os nad i bregethu yr Efengyl. Mae dynion yn y gwledydd hyn a feddant yr Offeiriadaeth yn gweithio yn galed trwy eu holl amser i'r Cenedloedd am ychydig sylltau yn yr wythnos, a allent, pe byddent yn ddewr a ffyddlon, ac yn llawn o dân yr Arglwydd, bregethu yr Efengyl, a chario y gwaith yn mlaen, fel na fyddai achos anfon am henuriaid o Salt Lake i wneuthur hyny. Un rheswm paham na bai gwaith yr Arglwydd yn llwyddo ydyw o herwydd fod llawer o hen henuriaid o'r fath hyn yn rhwystr ar y ffordd. Pan eu gofynir allan i weithio, ymguddiant yn eu llochesau bawlyd. Maent yn ddiog a rhydlyd, ac yn ceintach a chyfarth ar bob mesur a esyd eraill ar droed, ac yn dyfod allan o'u tyllau i'w wrthwynebu ac i fyned oddiamgylch i wenwyno y Saint. Wel bwriadwn eu bachu allan o'u llochesau gerfydd gwallt eu talcenau, a threio effaith grô, sebon a *scrubbing brush* arnynt, a'u glanhau a'u trwsio i fyned allan i bregethu yr Efengyl. Os na wnawn, yn eu tyllau lleidiog gorwedd wnant a'u damnio gant.

Edryched y brawd Daniels a chwithau fod pob un a allo fyned yn myned allan i bregethu yr Efengyl. Na ddefnyddied *soft soap* a *Mormon sympathy* gyda hwynt. Ni wnelai y tro i ni yn Salt Lake i ddwyn rhyw fân esgusodion rhag myned. Ni ddysgwyliem ein esgusodi o eisiau teisienau brau a siwgr i fyned gyda ni. Ceffyl a wagen, a phethau cysurus oeddent ail bethau, ac os na allem gael yr oll gysuron a ddymunem, nid oedd genym ond gwneuthur hebddynt. Meddai ambell un a ddanfonir "Pe d elwn i, newynai fy nheulu!" Dysgeidiaeth y Llywydd Brigham wrthyf fi ac eraill o'r Deuddeg oedd, nad oedd yr un o honom yn deilwng o'r apostolaeth os nad elai allan i bregethu yr Efengyl, cynnal ei deulu, a thrwsio ei hun allan.

Yr ydym am i chwi Lywyddion y Cynnadleddau weled y pethau hyn yn cael eu gwneuthur, neu os na wnewch hwynt, symudwn chwi o'r ffordd, a mynwn ddynion a'i gwna. Nid ydym am glywed ceintach ag achwyn pobl, ond am i chwi ddweyd

wrthynt yn bendant, ac o dan ddylanwad Ysbryd yr Hollalluog, pa beth sydd yn ddyledswydd arnynt, ac yn iawn iddynt ei wneuthur, ac os meddant ronyn o Ysbryd Duw hwy a'i gwnant.

Ni ymedy Duw a'r rhai a ant allan i bregethu ei Efengyl yn ffyddiog, a'i ogoniant Ef yn eu golwg. Cant yr oll a anghenant. Ni anfonodd Duw erioed eneuau heb fwyd i'w llanw. Pwy sydd yn ein cynnal a'n porthi ond Duw? ac eto achwynwn, ac ofnwn y newyna ein teulu!

Penoded y Llywydd Daniels faesydd gwahanol i'w gynghorwyr, fel na ddelont am draws eu gilydd, ac y gellir gweled llafurwaith pob un. Aed yntau allan a gair yr Arglwydd i blith y bobl, mor aml ag a allo. Gwell genyf fyddai iddo gloi y swyddfa i fyny na chaethiwo cymaint arno ei hun.

Wedi iddo ddeall oddiwrth Lywyddion y Cynnadleddau fod llefydd eang heb Saint na phregethu ynddynt, dywedodd,—

"Mae y cyfrifoldeb o rybuddio a bedyddio y bobl hyn arnoch. I ba ddyben y cedwir llawer o henuriaid teithiol? Yn aml i ddim ond myned o dŷ y naill sant tlawd i dy y llall i gael ei borthi a'i ddilladu er dim ond dweyd tipyn o'i deimladau da tuag at y gwaith, &c., a myned oddiamgylch i'r Saint felly fel olwyn. Gwna un neu ddau o ddynion mewn cynnadledd y tro, yn lle yr holl, os ant a tharanau, mellt, a thân yr Arglwydd gyda hwynt. Anfoner y lleill i blith y cenedloedd i'w rhybuddio, ac os nad ant, gadewch iddynt fyned i geibio pytato, os mynant.

Aed yr henuriaid yn mhell i ganol y cenedloedd, a mynont eu cynnaliaeth ganddynt, gan arbed y Saint. Aeth Alma a Nephi i ganol y Lamaniaid, eu gelynion penaf, lle y bygythid osod y Nephiad cyntaf a ddeuai yno i farwolaeth. Diangasant ddydd a nos, a llwyddasant trwy allu Duw i argyhoeddi a bedyddio miloedd. Pa beth yw y rheswm na bai ychwaneg o fedyddio yn ein plith ni? Oherwydd drygioni, a diffyg o allu Duw ynom—oherwydd fod yn ein plith ddynion marwaidd, drygionus, brwnt ac aflan, ag sydd yn ddrewdod yn ffroenau dynion da; dyna paham; ac y maent ar ffordd y gwaith.

Rhaid i chwi fyned i ddiwygio a glanhau y Saint—trwy ympryd, gweddi, gwaith a dysgyblaeth, neu gael eich damnio, yr holl haid o honoch. Ewch, fel y bum i lawer gwaith, a'ch beiblau a'ch blancedu i'r goedwig, y mynyddoedd, y creigiau a'r ogofeydd i ymprydio a gweddio hyd oni amdoer chwi a thân yr

Arglwydd. Galwch yr holl swyddwyr ynghyd; cyhoedder ympryd sobr. Cyfaddefwch eich beiau bawb i'ch gilydd; edifarhewch a bedyddier chwi er maddeuant pechodau, a llanwer chwi a hwynt â'r Ysbryd Glân. Yna, na orphwyswch hyd oni lanwer y Saint ag ef hefyd, ac y gwahaniaether rhwng y rhai a wasanaethant Dduw a'r rhai na wnant. Bedyddiwch y rhai sydd yn talu eu degwm, ac yn ymgyfammodi i fyw eu crefydd. Na fedyddiwch neb ar yr addewid o dalu ei ddegwm, oddieithr fod yn hollol anmhosibl iddo ei dalu. Gadewch y cyfryw yn llonydd lle y mae, heb ei impio i mewn, hyd oni wnelo ei feddwl i fyny i dorri ei hunan allan, neu ddyfod i mewn. Canwyd "Ysbryd yr Arglwydd fel tân sydd yn Llosgi."

Wedi i amrai henuriaid lefaru drachefn, y Llywydd Benson a ddywedodd ei fod yn foddlawn ar gymaint a ddywedwyd am y tro hwn, gan obeithio yr elem allan i wneuthur yn ol ein haddewid, fel, pan y cyfarfyddom nesaf y gallom ddweyd pa beth a wnaethom ac nid a fwriadwn wneuthur, a bendithiodd a gollyngodd y gynulleidfa.

W. LEWIS, Ysgrifenydd.

☞ Bwriadwn gyhoeddi ein rhifyn nesaf yn mhen wythnos, oherwydd pwysigrwydd newyddion o'r Dyffryn, a'r angenrheidrwydd am y gweddill o hanes Cyfarfod Diwygiadol Lerpwll. Cofus i'n brodyr llywyddol ddymuniad ein Llywydd ar iddynt drefnu eu cyfarfodydd Diwygiadol yn gyffelyb i un Abertawy. Darllener yr hanes sydd yn y rhifyn hwn, ac hanes cyfarfod Lerpwll yn bwyllog a deallus. Mae digon o amser—24 awr mewn dydd. Gobeithwn y byddwch megys cewri wedi eu hadnewyddu gan win newydd—yn llawn o Ysbryd yr Arglwydd, ac yn benderfynol o ddarllen calon pob swyddog, ac o lwyr ddadwreiddio pob drygioni, a symud pob rhwystr sydd ar ffordd y gwaith, ac o ail-ennyn tân yr Arglwydd yn nghalonau y Saint. Bydded pob cynghor a gaffoch o hyn allan yn gyfarfod diwygiadol a chynnyddol yn ngwaith ein Duw. Cynnwysiad yr "Udgorn a'r *Star* fyddont eich testun lyfrau—eich pynciau pregethiadol bob amser, ac na thristaer ein calon mwyach wrth gyfarfod a swyddyr na wyddant gynnwysiad y naill na'r llall, nac yn hidio llawer chwaith! Arferiad angenrheidiol a chanmoladwy ydyw darllen ryw ddernyn dyddorol o honynt yn y cyfarfodydd, a gwneuthur sylwadau arnynt. Dyna y ffordd i sugno o'r iawn ffynonell, ac i gadw ysbryd Seion yn ein plith.

Yn lân ysgubo eich hysgubellau newydd.

---

CYFEIRIAD.—Mr. John Davies, 7, Park Street, Swansea.

---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 7.] MAWRTH 28, 1857. [CYF. X.

## CYFARFODYDD DIWYGIADOL LERPWLL.

(*Parhad o tud. 63.*)

*Y Llywydd Pratt.*—Mawr lawenhauwyf i glywed eich penderfyniadau a'ch dymuniad i gyflawni y daioni a ofynir oddiwrthych. Teimlwyf yr angenrheidrwydd o gychwyn o'r newydd, a bod yn fwy ffyddlawn, yr ydwyf wedi teimlo y pwysigrwydd a'r angenrheidrwydd o hyny am flynyddau: yr ydwyf wedi wylo yn fy nheimladau pan yn gweled fy oerineb ymddangosiadol. Yr ydwyf wedi ymarferyd darllen yn y Beibl, Llyfr Mormon, a Hanes Joseph hanes amgylchiadau mawrion o allu Duw mewn amseroedd mynedol, ac yna wedi cydmaru fy hun a'r ychydig ydwyf wedi ei gael a hwynt, fy llesgeidd-dra sydd wedi achosi cyfodiad i'amheuon difrifol. Pan y meddyliwyf am yr ychydig fynediad ym mlaen ag ydwyf wedi gyflawni cywilyddiwyf am fy hunan. Yr ydwyf wedi mawr ddymuno i buro fy hun, a chyrhaedd i'r bendithion sydd gofrestredig eu bod wedi cael eu cyflwyno ar weision Duw mewn cyn-amseroedd. Yr ydwyf wedi wylo dros wythnosau am fy anffyddlondeb. I ba beth y mae neb o honom wedi cyrhaedd? Pan y darllenwyf am yr hyn a wnaed mewn cyn-amseroedd, dychrynir fi yn aml. Cawn, wrth ddarllen Llyfr Mormon, fod Nephi yn arfer cael gweinidogaeth angylion yn feunyddiol, ac yn cael ei fendithio a dadguddiadau, gweledigaethau, breuddwydion, ac amlygiadau, a llais yr Arglwydd. Ac yn y Beibl darllenwn am Elias, Eliseus, a phrophwydi

eraill a fendithiwyd yn gyffelyb. Gallai un dyn i Dduw arwain byddin i ganol eu gelynion, trwy ddallu y gelynion trwy rym ei ffydd. Nid oes un peth ar ua allem wneuthur pe meddem y ffydd. Yr ydym yn llesg, a braidd yn farw. Rhaid i ni gael yr Ysbryd. Llefwn ar yr Arglwydd ddydd a nos er cael yr Ysbryd Glân. Gobeithiaf y gallwn ni oll chwilio yn ddiwyd, a chyflawni ein cyfammodau. Ni lesolai i ni gael ein bedyddio, oddeithr i ni barhau mewn diwydrwydd.

"Ni ddisgwyliwyf i'r henuriaid fwynhau rhyw hynod arddangosiadau allanol, hyd oni chyflawnir amser y cenedloedd, ac y troant at dŷ Israel gyda'r efengyl. Modd bynag ymddiriedwyf mai ein braint ydyw cael ychwaneg o allu Duw nag a gawsom. Gwyr pob un o honom ei hun yn mha beth y gall ddiwygio. Adnebydd pob un ei hunan yn well nag yr adnebydd ei gymmydog ef. Er fod yr Arglwydd wedi fy nanfon i yma i lywyddu, teimlwyf yn wan, ac yn hollol analluog i gyflawni fy nyledswyddau, heb gymhorth yr Ysbryd Santaidd. Teimlwyf yn ddiolchgar am y fraint o gael myned âllan gyda y brawd Benson, wedi yr elo prysurdeb yr ymfudiad heibio. Gobeithiwyf y tywallta yr Arglwydd ei Ysbryd, fel ein hadnewydder. Bydd yn ysgafnhad i mi gael fy ryddhau am yspaid oddiwrth fusnes y swyddfa.

"Gyda golwg ar ddygiad allan y diwygiad, cydsyniwyf a sylwadau y brawd Benson. Y mae gradd o annghynildeb mewn cysylltiad a phethau tymorol a rhaid ei wella. A gofynir edrych ar ol hyn o dan y drefn bresennol yn fanylach nag erioed o'r blaen. Dylai arian a gyfranir yn ddegwm gael eu rheoli gan rhyw reol gywir, fel na allo Llywyddion a swyddogion eu defnyddio heb ymofyn ag awdurdod arall. Gyda chynnorthwy yr Arglwydd mi a gyhoeddaf rhywbeth o berthynas i hyn ag a fydd yn llesiol, fel y treulier y degwm yn deg a chynnil.

"Mewn perthynas i ail fedyddio—dylai y Saint gael pregethu wrthynt yn gyntaf, a'u cynhyrfu. Nid bedydd a ddiwygia berson: tystiolaeth o ymadnewyddiad ydyw. Credwyf y bydd ail-fedyddio trwy yr holl eglwys yn foddion i daflu allan lawer o'r cangenau meirwon. Trinir y pren—fe'i osodir mewn cyflwr cynnyddol—ac a ddug lawer o ffrwyth da. A y brawd Benson

allan i guro y cen oddiar lygaid y bobl, ac hyderwyf fy hun i'w ddilyn yn fuan a'i gynnorthwyo.

"Yr ydwyf fi wedi diwygio mewn rhai pethau yn fy null o bregethu oddiar pan y daethum ar y genadiaeth hon. Gwelais y pwysigrwydd o wneuthur felly. Yn lle areithiau hirion, teimlais yr angenrheidrwdd o roddi tystiolaeth. Credwyf y gall y rhai a'm clywsant dystio fy mod wedi ymestyn at bregethu egwyddorion eglur a syml, ac wedi cyfyngu fy hun at y prawfiadau o wirionedd y gwaith—gweledigaethau Joseph, &c., heb gyfeirio at yr holl ysgrythyrau a ellid ddwyn i brofi y pynciau. Os deil yr henuriaid eu tystiolaeth, adrodd gweledigaethau Joseph, a phregethu Llyfr Mormon, gwna fwy o les na phregethau hirion."

Canwyd "O Zion, when I think on thee."

Y Llywydd Benson.—Ni wn amgen nag y gall y brodyr feddwl fy mod yn lled selog. Wel, cyfaddefwyf fy mod yn achos Duw. Y mae mor naturiol i mi, ag ydyw i blentyn hoffi llaeth. Pan osodwyf fy meddwl ar wrthddrych, y mae megys agerdd mewn berwedydd (*boiler*).

"Mewn trefn i ymadnewyddu, cynnygiwyf yr ymprydiwn ac y gweddiwn un diwrnod, o leiaf. Yr ydwyf yn sicr y caiff effaith da. Mewn llawer o lefydd mae yr olwynion wedi eu tramgwyddo. Ymfwynha yr Henuriaid a'r Saint eu hunain gyda gormod o fwyd tymmorol. Rhaid iddynt gael prydiau trymion ar y Sul, pe cymmerai eu holl wythnos o gyflog Teimlent yn well pe ymborthent yn ysgafn ar y Sul. Caffent ychwaneg o'r Ysbryd pe yr ymprydient un diwrnod mewn wythnos a byw ar fwyd ysbrydol. Mae yn agos pob bendith ag ydwyf fi wedi ei derbyn o'r cwrs naturiol wedi bod trwy weddi ac ympryd. Gwna ymborthi ar brydiau trymion ar y Sul ni yn gysglyd, a theimlwn fwy o duedd i gymmeryd hun nag i ymwledda ar bethau nefolaidd.

"Dylem bregethu wrth allu Duw, yn ol y talent a roddodd Efe i ni. Mae genym amryson a'n ffaeleddau. Pan y teimlwyf fy mod yn pregethu trwy Ysbryd Duw yn iawn; nid oes genyf achos wylo, Pan nas gallaf deimlo yr Ysbryd Glan, yr ydwyf yn annigonol ac yn wylo. Pan y gwn fod genyf dystiolaeth yr Ysbryd yr ydwyf yn ddigonol—fy nghalon sydd ysgafn—a fy nghwsg sydd hyfryd.

"Awn yn mlaen, pregethwn egwyddorion yr Efengyl—a thystiolaethwn am y gwaith. Mae y Saint yn llesg i gyrchu i'w cyfar-

fodydd sacrament fel y dylent. Ac nid yw llawer yn talu eu degwm. Y mae genym yn awr y cyfarwyddiadau i gael allan pwy sydd yn ffyddlon a phwy nad ydynt. Torwn y cangenau meirwon ymaith. Gwell fyddai genyf hanner dwsin o Saint ffyddlawn na chant o rhagrithwyr. Gelwir arnom i hel allan y cyfiawn. Os na wnawn ni hyny, amddifad fyddwn o'r fendith. Os nad awn yn ol llythyr y Llywydd Young nis gallwn ei gael. Rhaid i'r cangenau meirwon fyned ymaith, ac yna cawn allan pa nifer o Saint sydd genym.

"Teimlwyf i gynnal y brawd Pratt, ac i beidio a bod yn hanner-calonog. Yr Arglwydd a'i bendithio ef (Amen oll) a'r brawd Little ! Amen, oll.) Cawn amser gogoneddus. Bendithir a chysurir ni.

"Dylem barchu ein gilydd yn yr Offeiriadaeth. Pe nad fy nyledswydd fyddai, ni ofynwn hyn oddiar y brodyr. Ni ofynaf ychwaneg oddiwrthynt hwy nac a foddlonwyf wneud fy hun. Ni ofynwyf iddynt fod yn mwy ystwyth nag ydwyf fi. A ydwyf fi yn agor fy ngenau i lefaru lle y byddo y brawd Pratt, heb ei ganiatad? Dylem ymffurio ar ol Seion. Os na pharchwn yr Offeiriadaeth, tristeir Ysbryd yr Arglwydd. Dymmunwyf pe byddai y brodyr yma fel y caffem bregethu wrthynt.

Yr Henuriad P. H. Young a dystiolaethodd am sylwadau y Llywydd Benson. Canwyd " Come, come, ye Saints," &c. Gweddiodd yr Henuriad Truman O. Angel.

*Y Llywydd Pratt.*—Y cynllun a fydd i'r Llywyddion i alw yn nghyd yr Offeiriadaeth, a phwyntio allan i'r Swyddwyr eu dyledswydd. Pan y byddoch wedi pregethu digon ar y diwygiad wrth y swyddwyr, ac y byddont hwy wedi cyfammodi y cadwant orchymynion Duw, bedyddiwch hwynt yn gyntaf. Yna cymmeront afael a phregethont wrth y Saint yr angenrheidrwydd o ddyfod i'r cyfarfodydd—yr oll a allant. Yr ydwyf wedi ei wneuthur yn ymarferiad i beidio cael cwcio yma ar y Sul. Mae angen gwreiddio hyn yn meddyliau y Saint. Caffer hwynt i gyfammodi y gwnant fel eu herchir, yna bedyddiwch hwynt. Gosodwyd y gofyniad mewn perthynas i'r rhai nad ydynt yn talu eu degwm. Nid ydym wedi bod yn eu torri allan am esgeuluso talu degwm, eithr nid oes achos i ni eu impio i mewn oddieithr y cydymffurfiant i wneuthur felly. Teimlasom nad hollol ddoethineb fyddai torri pobl allan am beidio a thalu degwm. Eithr fe ddaw yr amser pan

ei wneir yn safon cymmundeb. Y mae yn yn ddoethineb os na chyfammodant i dalu degwm i beidio a'u himpio i mewn. Felly y torrant eu hunain ymaith.

Y mae wedi ei gynnyg i ni ymprydio a gweddio y fory, i ni gyfarfod yma am saith o'r gloch yn yr hwyr, gweddio, ac yna myned i'r dwfr er cael ein bedyddio.

Eiliwyd, a chydunwyd yn unfrydol.

Terfynodd y Llywydd Benson y cyfarfod trwy weddi.

---

*Dydd Iau, 5med o Chwefror, 7 yr hwyr.*

Cyfarfyddodd y brodyr oll yn unol a'r cytundeb.

Canasant "The Spirit of God," &c. Gweddiodd y Llywydd Benson. Canwyd "O, Zion, when I think on thee,"

Yr Henuriad Little a annogodd y brodyr i ffyddlondeb, ac yn enwedig y cenhadon—i gadw eu hunain yn bur, fel y dychwelont adref gyda chalonau cywir.

Canwyd "Come let us anew," &c.

Yna aeth pawb i'r bedyddfan. Ar ol gweddi gyfaddas gan y Llywydd Pratt, efe a'r Llywydd Benson a fedyddiasant eu gilydd a'r lleill o'r brodyr.

Yna dychwelasant i 42, Islington, Liverpool.

Canwyd "How firm a foundation ye Saints of the Lord," &c. Gweddiodd y Llywydd Pratt. Canwyd "Redeemer of Israel, &c.

Yna cadarnhawyd yr holl frodyr, y Llywyddion Pratt a Benson yn gyntaf. Traethwyd llawer o fendithion dewisol trwy ysbryd y brophwydoliaeth, ac yr oedd calonau pawb ag oedd yn bresennol yn gyflawn o lawenydd ac o'r Ysbryd Glân.

Yr Henuriad W. G. Young a brophwydodd y treiglai y gwaith yn mlaen gyda mwy o gyflymdra a nerth, ar ol hyn, nag erioed o'r blaen.

Canwyd "Praise to the man who communed with Jehovah."

Y Llywydd Pratt.—Credwyf fod mawr waith ar gael ei gyflawni yn y wlad hon. Ystyriwyf y bydd yn waith da, os cawn gan y Saint i ymburo. Pe torrid y drydedd rhan o honynt allan, ac yr arosai y lleill mewn undeb, byddai yn un o'r pethau mwyaf a gyflawnwyd erioed yn y wlad hon. Dysgasom oll trwy brofiad mai pa fwyaf y byddwn mewn undeb, mwyaf i gyd y bendithia yr Arglwydd ni, pa un a fyddwn yn ychydig neu lawer.

Tueddir fi i feddwl fod yr amser wrth law pan y bwriada yr Arglwydd gyflawni rywbeth, nid yn unig yma, ond hefyd yn Seion. Nid ydwyf wedi deall pa beth a fydd,—eithr credwyf fod yr ysbryd a'r gallu a orphwysant ar y Llywyddiaeth yn ddarpariadol i rywbeth o bwys. Fe ddichon fod yr Arglwydd yn bwriadu yr ymburo yma er darparu y Saint i fyned i mewn i'r Deml, yn mha un y disgwyliwn y roddir y fath arddangosiadau a bendithion ar na chafodd yr eglwys erioed. Gwyddom mai dydd o allu ydyw hwn, ac nas gall yr amser fod yn mhell. Ymddengys fel pe byddai yn agos wrth law. Yr Arglwydd sydd yn darparu i'n dwyn i'w bresennoldeb. Yr ydwyf yn ac wedi teimlo fod rhywbeth wrth law. Mewn perthynas i'r gwaith yn y wlad hon, y mae yn rhwym o fyned rhag ei flaen. Fe anghena y Saint ffydd i wrthsefyll gwrthwynebiad, ac ni fydd neb, ond a feddant ffydd, yn abl i sefyll. A y brodyr yma allan gyda mwy o allu ac egni, i weinyddu i a iachau y cleifion. Cant fwy o allu nag y meddent o'r blaen. Dywedaf, Ewch allan, a nerth yr Arglwydd fydd arnoch—,chwi a'i teimlwch,—a'r bobl a'i gwybyddant, pe hyd y nod y brwydrent yn ei erbyn y fynyd nesaf.

Ar ol sylwadau cynhyrfiol ychwanegol oddiwrth amryw frodyr, canwyd yr emyn, " Praise God, from whom all blessings flow," a therfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan yr Henuriad James A. Little.

---

## LLYTHYR O'R TALAETHAU.

---

*Pittston Ferry, Chwefror 4ydd,* 1857.

Anwyl Frawd Daniels,—Trwy ddaioni a thrugaredd ein Tad Nefol, cefais gyfleustra i ysgrifenu attoch o'r rhan yma o'r ddaear. Gobeithiaf y caiff y llinellau hyn chwi yn iach a chysurus, ac y parhewch felly tra byddoch yn yr hen Babel, yn ymladd a'r gelyn a'r naill law, ac adeiladu teyrnas Duw a'r llaw arall.

Wedi hwylio o honof fi a'm teulu o Liverpool, parhaodd y gwynt a'r tywydd yn deg am beth amser, pan y cyfnewidiodd i ystormydd. Yr elfenau aruthrol a ymgynhyrfasant—grym y gwynt,—golwg a swn dychrynllyd mellt a tharanau, - rhuad y mor, yr hwn a fygythiai ein llyncu yn fyw i'w grombil anferth,—a'n tiriad diogel yn Nghaerefrog Newydd,—oeddynt

oll yn arddangosiadau newyddion i ni o allu a thrugaredd ein Tad Nefol.

Ar ol aros yn Nghaerfrog Newydd dros ddwy noswaith a diwrnod, daethom yma i Pittston Ferry, lle y cefais Rhys fy mrawd, fy mam, a llawer o frodyr a chwiorydd eglwysig. Mae yn y lle hwn gangen fawr o Saint, yn cydymgynnull i addoli Duw. Mae rhai o honynt yn Ysgotiaid, eraill yn Saeson, a llawer yn Gymru. Ein holl rifedi yw oddeutu cant, ac y mae arnom lywydd da, o'r enw Benjamin Isaac, gynt o Sir Gaer, a Rhys E. Rees a Richard Dafydd, gynt o'r Gwter Fawr, yn gynghorwyr iddo. Mae gwraig Richard Dafydd wedi ymuno a'r Saint, ac yn llawenhau yn ei thystiolaeth o ddwyfoldeb yr eglwys. Cefais i a rhai o'r plant waith yma yn union, fel, erbyn y delo yr haf, byddwn alluog i fyned yn mhellach yn mlaen tua Seion. Po nesaf y deuwn at, mwyaf i gyd yw ein hawydd i gyrhaedd i Ddyffryn y mynyddoedd, mor gynted ag yr ennillwn fodd.

Ni welais erioed gymmaint o golled a gorfod bod heb yr "Udgorn,"—roddwn unpeth braidd am gael clywed ei lais yn America; nid ydym yn cael yr un traethawd yn y Gymraeg. Carwn glywed sut y mae gwaith yr Arglwydd yn llwyddo yn Nghymru.

Cofiwch fi yn garedig at y brawd Dewi Elfed Jones.

Cofion gwresocaf fy mam, Rhys fy mrawd, a minnau a'm teulu attoch.

Eich cyd-was yn Ngwaith Duw,

JOHN E. REES,

(Gynt o Cwmamman.)

## Y MODD I GADW HEDDWCH MEWN TEULU.

1. Cofiwn y croesir ein hewyllys bob dydd, a darparwn ein hunain at hyny. 2. Y mae natur lygredig gan bob un fel ni, am hyny, peidiwn disgwyl gormod. 3. Ystyriwn wahanol dymherau pawb personau. 4. Edrychwn ar bob aelod o'r teulu fel un y dylem ofalu drosto. 5. Llawenhawn pan digwyddo daioni i un o'r teulu. 6. Gorchfygwn ddrygioni trwy ddaioni. 7. Os byddwn glaf neu boenus, na fyddwn rwgnachlyd. 8. I sylwi pan fyddo eraill yn dyoddef, a dangos cydymdeimlad. 9. Cymmerwn olwg serchus ar bob peth. 10. Rhoddwn yr "ateb arafaidd a ddetry lid," bob amser.

# MARWOLAETH

## Y LLYWYDD JEDEDIAH M. GRANT.

(O'r *Star*.)

Yn y *Western Standard* am Ionawr 17eg, darllenwn am farwolaeth Jedediah M. Grant, ail Gynghorwr y Llywydd Brigham Young. Achosa y digwyddiad sydyn ac annisgwyliadwy yma deimladau o dristwch ac wylo yn mhlith holl bobl Duw, ond yn fwy neillduol yn mhlith y rhai ag oeddynt ag adnabyddiaeth gyda y dyn mawr a da hwn. Yn ei ieuenctyd boreu cyssylltodd ei hun a'r Saint, a glynodd gyda hwynt trwy ei holl orthrymderau. Ei ffyddlondeb mewn adfyd a llwyddiant, ei gymmeriad am ymdrech ac egni diflino. ei gariad diderfyn tuag at achos y gwirionedd, ei ymlyniad tŷn wrth y Saint, yn gyssylltiedig a thuedd rhydd, gymdeithasol, ydynt wedi ei anwylu mewn miloedd lawer o galonau.

Am lawer o flynyddau daliodd y sefyllfa uchel a phwysig o un o'r Llywyddion dros yr holl Ddegau a Thriugeiniau, a mawr barchwyd a charwyd ef tra yn y sefyllfa gyfrifol hono. Yn y cylch o swyddog milwrol, fel Prif Gadfridog Meiwyr Tiriogaeth Utah, gwasanaethodd gyda mawrder ac anrhydedd, ac a fwynhaodd ganmoliaeth a chariad pawb. Yn y cylch o Faer Dinas y Llyn Halen Mawr' yr ydoedd yn ddoeth, cysson, egniol, a diflino, mewn dyfeisio a chyflawni cynlluniau er heddwch a da fyd y dinasyddion. Yn y Ddeddf-wneuthurfa, yn ystod amryw sasiwnau, etholwyd ef yn unfrydol yn Lleiarydd y Tŷ. Yn y sefyllfa anrhydeddus yma, arddangosodd, mewn modd hynod, y nodweddau hyny o' gymmeriad a'i addasent mor enwog i lywyddu dros y corff dyrchafedig hyny. Fel ystadydd (*Statesman*) nid oedd a rhagorai arno. Ond yn y galwad uchel a santaidd o un o'r tri Llywyddion dros yr Eglwys trwy y byd, tywynodd ei ddoethineb a'i ddalentau yn y modd amlycaf. Dealltwriaeth a gallu yr Ysbryd Glân oedd arno. Ei lais oedd fel mellten, a'i eiriau fel y llyched tanbaid i'r rhagrithiwr a'r troseddwr. Geiriau gwirionedd fflamboeth a lifent o'i wefusau, gan drywanu y galon. Ei lafur diorphwys, yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, yn y gwaith o ddiwygio y Saint, ni anghofir byth. Er wylo am ei golli, etto nis gallwn lai na llawenhau pan ystyriom mor felys y bydd ei orphwys dros fyth. Aeth i Baradwys ein Duw,—i gysswllt a llu aneirif y prynedigion. Ffarwel, anwyl frawd Grant—ffarwel am ennyd fychan! Aethost tu fewn i'r llen; ni a'th ddilynwn yn fuan, gyda thi i gael ein bendithio yn dragywydd.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.


### DYDD SADWRN, MAWRTH 28, 1857.

Y DIWYGIAD sydd eisoes wedi dechreu o ddifrif mewn rhai manau a wyddom am danynt, a gobeithiwn mai felly y mae yn mhob man. Hyderwn na orphwysa y Llywyddion hyd oni phregethont i'r Saint, eu cael i ymprydio a gweddio, bucheddu yn well, a chadw y Gair o Ddoethineb, cadw dyledswydd teuluaidd yn eu tai, dilyn yr holl gyfarfodydd, myfyrio yn, son am, a byw eu crefydd rhybyddio eu cyd ddynion a pheidio gwastraffu eu harian, ond talu eu degwm a darparu, trwy gyfrwng y Drysorfa Geiniogol i gasglu adref i Seion. Cynnalier cyfarfodydd ymprydiol yn aml, yn mha rhai casgler yr holl Saint a ellir grynhoi, ac anfoner y Swyddwyr da allan i bregethu cymmaint a allont. Cofier yr hyn a ddywed yr Apostol mae ein diffyg o allu Duw yw y reswm nas gallwn fedyddio y gonest ga'on. Er cael gallu Duw rhaid i ni gael Ysbryd Duw, ac er cael hwnw, rhaid i ni fod yn ysbrydol feddylfiol —darllen hanes Joseph Smith a'n brodyr enwog pa fodd y cawsant hwy weledigaethau a gallu Duw ; a hanes yr hen brophwydi gynt, fel yr oeddynt hwy yn gweddio ac ymprydio a chael Ysbryd neu allu Duw er pregethu i'r bobl. Aed henuriaid ac offeiriaid Israel allan yn llawn o'r Ysbryd Glan i bregethu, nid adnodau yn unig, ond tystiolaeth yr Iesu sydd yn eu meddiant a hwy a ddrylliant gaerau y Jericho lle y caethiwir y gonest galon, ac, os bydd iawn ddysgyblaeth a bywyd yn y cangenau, nid oes a rhwystra lwyddiant gwaith ein Duw. Yr ydym wedi gorwedd yn yr un man yn ddigon hir, hyd oni ddigiasom Ysbryd yr Arglwydd ac y peidiodd a chydweithio cymmaint a ni. Pwy ar nad yw yn cofio fod dynion yn methu cael esmwythdra yn eu gwelyau, ac yn gorfod codi ganol nos i fyned a chael eu bedyddio gan was i Dduw—pan yr oedd yr ysbryd yn llanw y cyfarfodydd hyd onid oedd megis ar ddydd y pentecost, a'r Saint yn cael eu cynhyrfu i lefaru mawrion bethau Duw? Paham na bai fellu yn awr?

Oherwydd cynnyddiant drygioni, esgeulusdod, a diogi, ac am na pherchid dysgyblaeth Eglwys Dduw. Pa fodd y cawn mwy o allu Duw? Wrth *ddiwygio*—cydnabod ein claerineb ger ei fron—cynnal ymprydiau sobr—gweddio am ei Ysbryd i'n llanw, ac yna caffael ein bedyddio er maddeuant o'n pechodau gyda phenderfyniad i barchu yr Offeiriadaeth, a chynnorthwyo y gwaith yn mlaen â'n harian an heiddo ac an holl ymdrechiadau—pregethu wrth y byd a chyd weddio hyd oni esgyno ein gweddiau megis arogl darth peraidd gerbron ein Duw, am i'r Ysbryd Santaidd oleuo ac aflonyddu y gonest galon; a'n llanw ninnau. Ofer ein gwaith heb Yspryd Duw. Temlau i'r Ysbryd i drigo ynddynt ydyw y Saint i fod. Cadwn ein temlau yn lân, ynte, tufewn a thu allan. Cadwer y tufewn yn lan rhag gwirod poethion, diodydd meddwol, a phob gwenwynau a phethau llygredig a waherddir yn y gair o Ddoethineb. O anwyl Saint, cofiwn fod ein gwaith yn fawr a'r amser yn fyr. Mae y deml yn dyfod rhag ei blaen a'r Saint yn cael eu puro a'u glanhau erbyn y daw Purwr a Glanhawr ei bobl i'w deml yn ddisymmwth. Un o'r ddau am dani—Duw neu mammon—iachawdwriaeth neu ddamnedigaeth ddau ddyblig am i'r goleuni ag oedd ynom fyned yn dywyllwch. Amser byr yw y bywyd hwn, ac na ddysgwyliwn lawer o fwynhad a gorphwysfa ynddo. Gallwn gyflawni mwy mewn blwyddyn yn awr tuag at ein hiachawdwriaeth nac yn mhen mil o flynyddau ar ol myned tu hwnt i'r llen. I fod yn Frenhinoedd ac Offeiriaid a chydgyfranogion o fawredd y frenhiniaeth, a bywydau tragywyddol yw ein hymgais. Pwy a bentyrai ddamnedigaeth ar ei ben wrth fod yn rhwystr i waith ei Dduw, ac efe yn gwybod hyny? Diwygiwn yn wir ynte, neu mae yr amser ar ben, a Duw yn sicr o'n symmud o'r ffordd a gwae nyni os felly y bydd. Nid enw yn Eglwys Dduw a wna y tro, ond rhaid cael gallu Duw. Mae eisieu gwahaniaeth rhwng y Saint a'r byd. Pan byddo yr haint a'r pla yn medu gwledydd—yr angel dinystriol yn ysgubo pechaduriaid llygredig ffiaidd, geill y Saint fod wedi casglu "mer i'w hesgyrn, a nerth i'w bogail," a gallu Duw gyda hwynt, hyd nes y gallant wrthsefyll yr oll, a darparu gyferbyn a dyfodiad eu Brawd Hynaf, ac i ddychwelyd i bresennoldeb a myned i mewn i orphwysfa eu Tad. Pe y fory fyddai dydd profiad, pa faint o ffydd sydd genym, a pha faint o brofedigaeth a allem wrthsefyll? Ofnwn mai rhy fach! Dyma yr amser i ni ddeffroi ynte, a gofyn

i'n hunain i ba beth y crefyddwn? I ba sefyllfa y bwriadwn gyrhaedd? Pa faint yr ydym wedi gynnyddu, y pha hyd y cyrhaeddasom? Pa mor agos ydym i fod a digon o'r Ysbryd Glan ynom i gyfarfod a'r Iesu yn ei deml—i oddef presennoldeb Duw, ac yno i roddi cyfrif o'n gwaith? Os yn ymyl y peint cwrw, yn sugno yr hen bibell ddrewllyd—yn llosgi ein perfeddion a sothach llygredig, ac yn drewi gormod i hyd y nod angylion Duw ddyfod yn agos attom, y cawn ein hunain, bydd yn bryd i ni ymysgwyd oddiyno, neu i beidio a breuddwydio am iachawdwriaeth yn nheyrnas Dduw. Ni ychwanegwn yn bresennol, ond, dymuno rhwydd hynt i'n brodyr llywyddol i rhwygo y llèn oddiar lygaid y bobl, fel y gwelont eu gwir gyflwr.

Dymunwn i lywyddion y Cangenau ddarllen golygyddiaethau yr UDGORN yn y cyfarfodydd a'r cynghorau, pan fyddo yn taro i hyny.

---

## PENNOD ADDYSGIADOL I DDRWG-LUNWYR UTAH.

(Allan o'r *Western Standard*, Ionawr 24)

Cynnygia ysgrifenydd dienw, mewn erthygl a benir 'Utah,' a gyhoeddwyd yn y *Chronicle* am ddydd Mawrth, gynllun, yr hwn, os ei mabwysiadir, a wna, yn ol ei dyb ef, symmud yr anhawsder sydd yn gydlynol a derbyniad Utah i'r Undeb. Ei awgrymiad ef ydyw i Congress ddosbarthu Utah, a chyssylltu y gwahanol ddosbarthiadau wrth Califfornia, a'r tiriogaethau amgylchynol. Pe gwnelid hyn, meddylia y gochelid y gwarth dirfawr a dynir ar ein gwlad wrth gydnabod Utah fel chwaer dalaeth, ac y delid deiliaid yr athrawiaethau Mormonaidd yn yn gyfrifol i gyfreithiau y tiriogaethau wrth ba rai eu cyssylltir, a chan nad ydynt yn debyg o fod yn ddim ond lleiafrif yn mhob un, eu holl sefydliadau hynod, o ganlyniad, a ddifodid ar unwaith.

Pe na fyddai yn bwnc mor bwysig, byddai yn ddifyrwch i weled y dyddordeb a arddengys ysgrifenwyr mewn perthynas i'r "gwarth dirfawr" sydd yn debyg o gael ei dynu arnynt gan sefydliadau hynod "Mormoniaeth." I ddarllen eu hysgrifeniadau, ac heb fod yn adnabyddus a'r bobl oddiwrth y rhai y deuant, gellid dychymygu eu bod yn gyfundeb mor hynod o bur, cywir, a difrycheulyd, fel nas gallent edrych ar yr ymddangosiad o ddrwg heb fraw. Ni allai rhai anadna-

byddus a'r pwnc feddwl fod ysgrifenwyr a lefarant mor rhagrithiol am "sefydliadau hynodwyrawl" y Mormoniaid, a'r "gwarth dirfawr" a ddygid trwy gymdeithasu a hwynt, yn byw eu hunain yn nganol cyfundeb lle yr arddangosir halogrwydd, puteindra, a ffieidd dra o bob math yn amlwg ar bob llaw. Etto, dyna yw y ffaith. Y dynion hyn a amrysonant gyda'r fath ddigter rithiol ynghylch llygredidgaethau y Mormoniaid, ydynt eu hunain yn syllwyr ar y llygredd a'r troseddau mwyaf gwrthnysig a hyll yn eu heolydd eu hunain. I'r fath natur hynod a bygythiol mae y drygau hyn wedi cyrhaedd, fel y maent wedi ymwthio i sylw yr Uchel-Ymholwyr, y rhai a gyfeiriant attynt yn yr iaith ganlynol:—

"Yma, [yn nhalaeth Califfornia] fel mewn manau ereill, [rhaid eithrio Utah] ymddengys fod cryn lawer o'n trethi yn gyfeiriadol yn uniongyrchol gan y drygau a fodolant yn y cyfundeb. Dylid gweinyddu y gyfraith yn llym yn erbyn y ffaeau puteiniawl ag ydynt yn barhaus yn llanw ein hysbyttai, ein llysoedd, a'n carcharau, ac yn achos rhan helaeth o nid yn unig boenedigaeth, ond o drethiadau y cyfundeb yma."

Ar buteindra Chineaidd dywedant:—

"Mewn cysswllt a hyn galwai yr ymholwyr sylw y llys hwn, y Ddeddf-wneuthurfa, a'r cyhoedd at ddrwg dirfawr—drwg na ellir leihau yn y man lleiaf—hwnw o drosglwyddiad benywod Chineaidd, i'r dyben o buteindra. Profwyd o flaen yr ymholwyr fod y creaduriaid truenus hyn yn gaethion wrth gyfraith yn China; eu bod, fel y cyfryw, yn cael eu prynu am o 25 i 75 o ddoleri yr un; yn cael eu mudo yma a'u gwerthu i'r puteindai, neu er myned i'r mwngloddiau, am o 300 i 800 doler yr un, yn ol eu bath; eu bod yn cael eu trin yn y modd creulonaf,—eu fflangellu, &c., gan y rhai sydd yn eu cadw; a'u bod, pan y clafychont, yn cael eu danfon o hyd i'r ysbytti, i gael eu cynnal ar gost y cyhoedd, hyd oni threngont, neu y byddont alluog i ddychwelyd i wasanaeth eu perchennogion. Felly nid yn achlysurol ond yn gyfeiriol gwneir i'r cyfundeb, pob dinasydd sydd yn dreth-dalwr—gyfranu at gynnaliaeth cyfundrefn na faeddir mewn puteiniaeth, gan unpeth a ddangosodd hanes y byd erioed.

Y mae mewn prawf o flaen yr ymholwyr fod o hanner i dri chwarter holl ddyledswyddau a chost ein hedd geidwaid, llys-

oedd troseddwyr, carcharau. ac ysbyttai, yn gyfeiriol uniongyrchol at buteindai. Os lleihawn ni y trethiad, neu wneud y ddinas hon [Sacramento] yn drigfa addas i'r rhinweddol, neu hyd y nod gadw ein hymffrostiawl wareidd-dra, rhaid i'r ffynonellau hyn o bob llygredigaethau gael eu sychu i fyny."

Yr uchod sydd ysgrif swyddol a gyhoeddir yn y cyhoeddiadau, ac yn cael ei bwriadu, meddyliem, megis mynegiad teg o sefyllfa pethau yma. A ellir dirnad unrhyw beth sydd yn fwy hyll na'r hyn a ddarlunir yma? Ffauau pntteiniol yn llanw yr holl ysbyttai, y llysoedd, a'r carcharau a thrigwyr! Tri-chwarter holl gost yr hedd-geidwaid yn gyfeiriol uniongyrchol i buteindai! Benywod yn cael eu prynu a'u cludo o China bellenig i ddiwalln y farchnad a phuteiniaid er boddhau nwydau a chwantau diefiig ac anifeilaidd dihyrod ar ffurf ddynol! A ddangosai gofysgrifau Sodom a Gomora, pe eu taenid yn agored o flaen ein llygaid, unpeth yn fwy gwrthnysig nag a wneir yn gyhoeddus trwy fynegiad Uchel Ymholwyr Dinas Gristionogaidd (arbeded y nef y nod) San Francisco! Etto ceir dynion yn y cyfundeb yma—y cyfundeb tybuteiniol ac ysbytti drethiadol a chynnaliol—a wnant, gyda'r agwedd mwyaf di-wridiawg a gwyneb-bresaidd,siarad mor rhagrithiol am gael llygriad trwy wrth-darawiad ag Utah! Nis gallwn braidd reoli ein digter a'n casineb pan y darllenwn eu hiaith rhagrithiol, gan y gwyddom fod pob anadliad a gymmerant yn cael ei dynu mewn awyrgylch sydd yn dew gan y ffieidd-dra gwrthnysicaf.

Ewch atti, foneddigion, a symudwch y drychau a'r swniadau calon-glafychol a gyfarfyddant lygaid ac a gyfarchant glust y dyeithr-ddyn ar bob llaw pan yr a trwy eich ffyrdd cyhoeddus —llwyr ddinystriwch y ffauau putteiniol a'r ysgolion drygol ag ydynt yn anfoesu eich ieuenctyd, ac yn hyfforddi eich plant mewn ymarferiadan o'r fath fwyaf anfoesol, a drygau o'r rhyw mwyaf llygredigol—attaliwch ffyniant pellach y clefyd hwnw, rhinwedd yr hwn sydd yn sicr yn ymlusgo i mewn i wythienau, yn ymdaenu trwy gyfansoddiad, yn halogi gwaed, a dinystrio cyfansoddiadau eich pobl; ac yna, wedi y gwneloch hyn oll, ni fyddwch ond braidd wedi dechreu dysgu y wers o ddiweirdeb ag y mae Utah yn ei dysgu i chwi ac i'r holl fyd. Hyd oni ddygir y canlyniadau hyn oddiamgylch, cynghorem chwi,

foneddigion, i gyfyngu eich sylw a'r ymarferiad o'ch gallu oedd at y pethau a berthynant yn fwy neillduol i chwi, a gadael i Utah ddisgwyl at ei materion ei hunan, i reoli pa rhai y mae hi erioed wedi bod yn hollol fedrus. Gan nad pa fa faint y gwawdir y meddylrith, gwir er hyny ydyw, mai yn lle bod ystaen neu warth dirfawr yn cael ei dynu ar gymmeriad y genedl trwy dderbyniad Utah i'r Undeb, gwir anrhydeddir y cydlyniad gan yr ymgymdeithasiad. Mor belled ag y perthyna heddwch, moesoldeb, rhinwedd, diwydrwydd, trefn dda, a gocheliad rhag drwg a throsedd o bob math, y mae Utah yn ddiddadl ac yn anwrthwynebol yn rhagorach na'i chwiorydd; ac y mae yn weithred fawr o ymddarostyngiad ar ei rhan hi i ganiatau i fod yn gymdeithasol a'r fath dalaeth ag yw California yn broffesol. Dim ond ei chariad dros y Ffurfiad (*Constitution)*, dros barhad y Werin-lywodraeth hon, a thros rhyddid a gafwyd trwy waed a dyoddefiadau y tadau chwyldroadawl, a'i themtiai i'r fath weithred. Mae Utah yn sicr mai, oddieithr yr edifarha y genedl hon, ac y gesyd ymaith y ffieidd-dra a'r drygioni sydd mor aml yn ei chanol, i lawr mae yn rhaid iddi fyned. Pe ei derbynid hi i'r Undeb, dichon y lledaenid y surdoes o rhinwedd a gwirionedd a gedwid yn ei chanol, trwy yr oll o'r genedl, a bod yn foddion i'w hachub rhag y dinystr hongianol; eithr os yn analluog i achub y genedl, geill o leiaf gadw y ffurf o lywodraeth, ffurfiad, rhyddid, a breintiau a drosglwyddwyd i waered gan dadau ein gwlad. Mae hyn yn ddigon o ddarbwylliad, ac o wobr rhag-ddisgwyliol i'w hachosi i ofyn am dderbyinad i mewn.

---

## FY MREUDDWYD.

(*Parhad o Rhif.* 5.)

---

Gwelais gywrain adeiladaeth—
  Tŷ Sanct Israel, meddaf, yw;
Ynddo drachtiais o'r ffynonell
  Fywiol, sanctaidd, bur fy Nuw.
Gwelais yno un adnabum,
  'Hedeg wnaeth pob meddwl trist,
Canys dysgodd i mi lawer
  O ddirgelion teyrnas Crist.

Wele rhan o'r breuddwyd gefais,
Er llesbad, mewn pryd, gan Dduw,
Gwir a chywir yw'r dystiolaeth,
Ie, gwir digymmysg yw.
Arglwydd, agor ddorau'r nefoedd,
Gwna fi'n wrol ar fy nhaith;
Ysbryd Iesu losgo ynwyf,
Er fy nghoethu gyda'i waith.

Gwna fy nghalon yn eisteddle
I dy sanctaidd Ysbryd Glân;
Gwna fy llais fel dyfroedd lawer,
A'm golygon fel fflam dân,
Fel y byddwyf yn dysgleirio,
Yn dy Eglwys is y Nen;
Wele, ydwyf i'th wasanaeth,
Yn ddiderfyn mwy. Amen.

DAVID JOHN, Fflint,
Diweddar o Goleg Hwlffordd.

---

## YMADAWIAD Y SAINT I SEION.

---

Llwyddiant i chwi, O frodyr calon lon,
Ac i'r chwiorydd hoff—Formoniaid clyd,
Pan fyddoch ar y daith bellenig hon,
Sy'n arwain draw tua phell orllewin byd.

'R'ych 'nawr ar adael gwlad y Cymry mwyn,
A gwlad eich tadau a'r cyfeillion mad;
Lle treuliech eich mabandod yn ddigwyn,
Heb feddwl am fwynhau hyfrydach wlad.

A gadael ydych wlad pleserau gynt,
Gan daflu'r meddwl dros y cefnfor llaith.
Ac ar amrantiad hed ar hyfryd hynt,
Gan ddisgyn ar wastadedd pen y daith.

Yr Ior a'ch cadwo megis yn ei law,
Tra ar aflonydd gribau'r tonau càn—
Tra dros eangder y gwastadedd draw,
Neu yn nghynteddau y mynyddoedd bàn.

Yna'r ymegyr mewn hyfrydol wedd,
Y dolydd gwyrddion yn olygfa hardd;
A throstynt yn anadlu y bydd hedd,—
A gwaredigaeth yn eich gwyneb chwardd.

*Merthyr.* ANEURIN L. JONES.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

---

AR tudalen 74 o'r gyfrol hon, yn lle Richard Williams, darllener *Rice* Williams.

DYMUNEM gael gwybod pa ddosbarthwr a all ein diwallu a'r rhifynau canlynol o gyfrol IX o'r "Udgorn":—3 o'r 7fed rhifyn, 53 o'r 8fed, 36 o'r 9fed, 2 o'r 24ain, a 2 o'r 25. Carem eu cael cyn gynted ag y byddo yn alluadwy.

TALIADAU AM LYFRAU.—O Mawrth 6fed hyd y 26ain,—Charles Harman, £1; A. L. Jones, £3; James Phillips, £3.

SERCHOG.—Dywedodd boneddiges, wrth ysgrifenu at ei gwr yr hwn oedd yn Califfornia, ei bod hi yn gwybod nad ydoedd absennoldeb yn marweiddio cariad, oherwydd pa hiraf y byddai yn aros oddicartref, mwyaf i gyd y carai ef.

GWYLIWN ddau elyn yn neillduol gyda'r gofal mwyaf—y gelyn sydd yn sefyll tu allan, a'r bradwr a egyr y porth tu fewn.

---

### CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 8.] EBRILL 11, 1857. [CYF. X.

## DRYCH,

Yn yr hwn i syllu ar ein hunain, er gweled a ydym yn y ffydd.

(O'r *Mormon*)

Golygydd y "Mormon,"

Hynaws Syr,—Yr ydwyf yn cael yn fy nheithiau ar hyd yr Unol Dalaethau, lawer a broffesant fod yn frodyr, neu aelodau o Eglwys y Saint.

Yn mhlith y rhai hyn, mae rhai a ymddangosant i mi eu bod yn twyllo eu hunain, ac yn meddwl eu bod yn y ffydd pan nad ydynt.

Os holwn ddyn pa un a ydyw yn y ffydd, efe a ddywed, O ydwyf, yr ydwyf yn gadarn yn y ffydd o "Formoniaeth;" ni allaf gyda chysondeb fod yn ddim arall. Gallaf weled mor eglur a'r haul canol-dydd, fod yr athrawiaeth yn ysgrythyrol, ac fod cyfundrefnau ein hoes yn anghysson a hwy eu hunain, ac a'r Beibl. Yn awr y dyn hwn, a ystyria ei hun yn gadarn felly yn y ffydd, ac a moddion ganddo, ni chyfyd fys yn yr achos a broffesa gredu. Neu os gwna, bydd mewn modd cynnil, ac yn o anaml—fe'i gwneir yn rwgnachol—ac ar lawer o achlysuron oherwydd i rhyw un ei ddirgymhell, neu ei ddarbwyllo i'r mesur. Ni wna unpeth yn foddlawn neu ewyllysgar, oddieithr, feallai, y llettygarwch arferol o lettya a phorthu yr Henuriaid ar ambell dro.

Pan y delo at ddilladu Henuriad, neu ddwyn ei gost i deithio, neu gynnorthwyo i gynnal ei deulu, y mae allan or cwestiwn, ni freuddwydia y dyn am y fath beth.

Pan y gelwir am ddegwm neu gyfraniadau, neu pan ei ofynir i werthu a fedda, ac ymgasglu gyda y Saint, ni syfl. Mewn gair ni feddylia byth am gydweithredu a'r Offeiriadaeth a Theyrnas Dduw.

Os holir ef yn fanwl, ceir nad yw yn credu yn drwyadl yn yr *ymgasgliad*, neu mewn degwm, neu mewn rhyw hynodion eraill o'r ffydd.

Wel, frawd, pa beth yw y gufundrefn hynod ag yr ydwyt ti yn ei chredu? Neu pa beth yw Mormoniaeth fel ei gredir genyt ti?

Credwyf. syr, yn yr egwyddorion cyntaf,—y beibl-athrawiaethau o ffydd, edifeirwch, bedydd er maddeuant pechodau, a gosodiad dwylaw er derbyn dawn yr Ysbryd Glân, &c. Credwyf hefyd mewn gweddio, myned i'r cyfarfodydd, canu, pregethu, &c., a byw bywyd moesol. Ond nid oes nemawr a fyn hyn holl ag arian, neu ag ymgasglu i ryw fan neillduol, neu gydweithredu a chorff y Saint mewn pethau tymmorol. Os y canaf ac y gweddiaf o hyd, etifeddaf deyrnas Dduw yn y diwedd.

Yn awr ymddengys i mi fod y fath un yn twyllo ei hun, ac nad yw, mewn gwirionedd, yn y ffydd.

Syllwn ar y math hyn o ffydd mewn oes arall, er gweled i ba beth y cyrhaedda Noah, er enghraifft, ydoedd brophwyd—pregethwr cyfiawnder. Dysgodd ef, wrth gwrs, egwyddorion cyntaf, fel y gwna holl genadon Duw. Gofynodd ef edifeirwch, a ffrwythau cyfiawnder. Efe, yn ddiau, a ofynodd i'r argyhoeddedigion ufyddhau i ordinhadau Duw—i fyw yn foesol, myned i'r cwrdd, canu, gweddio, pregethu, &c. Ond rhagfynegodd hefyd ddinystr y drygionus, a'r modd i ddianc, neu y modd o iachawdwriaeth dymmorol i'r cyfiawn.

Rhaid oedd i'w ganlynwyr, gan hyny, nid yn unig credu ac edifarhau, ac ufyddhau i'r ordinhadau moesol, a myned i'r eglwys, a gweddio, ond cau eu busnes, casglu i fyny eu moddion, ymddidoli rhag cymdeithas y byd, a darfod a phriodi a hwynt, os achubent eu plant.

Rhaid iddynt symmud yn weithredol i gymmydogaeth yr Arch gyda eu holl foddion, ac yno gael eu cyfarwyddo gan awdurdod Noah, ei oruchwyliwr, a'i gynnorthwywyr, fel ag i gydweithredu ag eraill yn yr un anturiaethau, a'u holl foddion a'u llafur. Felly y darparid arch, gyda ei holl ddwfr, lluniaeth, &c., i ddyn ac anifail, ehediad ac ymlusgiad beth. Rhaid oedd iddynt, feallai, roddi ymborth i gynnal y dwylaw tra y llafuriasant ar yr arch, neu rhaid oedd iddynt losgi glô, neu weithio yn efail y gof, i wneuthur a gweila yr offerynau, neu i wneuthur hoelion, pinau, ac yspigau; neu rhaid oedd iddynt wneuthur heol i'r goedwig, neu gynnorthwyo i dorri prenau, a naddu a chludo coed, neu lifio planciau; neu feallai y syrthiai i'w rhan i weithio ar gorff yr arch, tufewn neu tuallan; neu mewn llyfni a chyssylltu lloriaeth, bwrddiaeth, neu rhaniadau neu adranau i'r anifeiliaid, neu ystôr-ystafelloedd. Neu feallai y gallent weithio yn siop y cwper, i ddarparu casgenau dwfr, neu yn y maesydd yn torri gwair i'r anifeiliaid, neu yn ei gasglu a'i ystorio yn yr arch; neu mewn sychu cigoedd a ffrwythau, a chasglu ŷdoedd a lluniaethau ereill. Neu o bosibl y pennodid hwynt i deithio a phregethu, a rhybuddio y byd; neu i ethol a phrynu catel neu geffylau, defaid neu foch, yn wrryw a benyw, er y cadwraeth o'r brydoedd goreu o anifeiliaid. Ac yn olaf rhaid oedd iddynt i osod eu hunain a'u teuluoedd ar fwrdd yr arch, gyda holl angenrheidiau bywyd. Ac os byddai ganddynt aur neu arian neu jewels gwerthfawr yn ngweddill ar ol yr holl dreuliadau, rhaid oedd iddynt, os cadwent hwynt, eu dwyn ar y bwrdd, a'u trysori i fyny yn yr arch. Felly mae yn eglur fod ganddynt i gael eu cyfarwyddo yn hollol gan yr arweinyddion neu y prophwydi yn eu llafurwaith, ac yn eu holl bethau tymmorol.

Yn awr tybiwn fod yn nyddiau Noah rhyw argyhoeddedigion a dderbyniasant egwyddorion cyntaf pregethiad Noah, a gredasant ac a edifarhasant ac a fuont byw bywydau moesol, ac a ufuddhasant i'r ordinhadau; y rhai a gyrchasant i'r cwrdd, a chanu, gweddio, pregethu, a gwneuthur sylwadau ar hen brophwydoliaethau Enoch, Seth, &c.

Yn mhen cyfnod o amser Noah, gan fod yn rhy brysur gyda'r arch i fyned ei hun, anfonai allan genhadon at y cangenau crefyddol hyn o'r eglwys, neu y Noahiaid proffesedig,

i'w haddysgu yn eu dyledswydd, ac i ymholi os oeddynt yn gadarn yn y ffydd Noahaidd. O ydym, ddywed pob un o honynt, yr ydym yn Noahiaid cedyrn. Wel, ynte, meddai y cenadydd, gofyna Duw i chwi werthu eich meddiannau, a chasglu i fyny eich moddion, ac ymfudo i gymmydogaeth yr arch, a chymmwyswch eich harian, eich nwyddau, eich hamser, a'ch holl elw i lwyddo Achos yr Arch, &c. Ond gan y cymmer hyn ychydig amser, gwahoddir chwi yn y cyfamser i ddiwallu yr hyn foddion parod a allwch hebgor yn resymol, er gwthio yn mlaen y gwaith mawr o iachawdwriaeth dymmorol, fel y byddom ni, trwy ffyddlondeb, yn etifeddion o'r ddaear, pan ei glanheir oddiwrth y drygionus trwy ddwfr.

O, meddai y Noahiaid proffesedig, ein harian a'n nwyddau a'n llafurwaith ynte yr ydych chwi ar eu hol aie? Dymunwch reoli ein helw tymmorol! Wel, syr, gellwch fyned adref etto ac hysbysu Mr. Noah, mai mewn dim ond pethau ysbrydol, neu faterion crefyddol y boddlonwn gael ein cyfarwyddo. Proffeswn fod yn abl i reoli ein gorchwylion ein hunain, ac ni chaiff un dyn ein gorchymyn ar faterion elwol na'n dysgu pa le i ymfudo, neu pa bryd neu pa le i fyned neu ddyfod. "*Penaduriaid personol ydym ni*," ac ni chaiff un dyn ein rheoli. Nid am nad ydym yn gredinwyr cadarn mewn Noahyddiaeth. Hyny yw, credwn yn yr egwyddorion cyntaf fel y gosododd hwynt i lawr; credwn mewn ffydd, edifeirwch, ac ufydd-dod i'r ordinhadau. Credwn hefyd mewn bywyd moesol, ac mewn myned i'r Eglwys, canu, gweddio, pregethu, &c, ond dim yn ychwaneg.

Ond, er hyny, rhag i chwi ein ystyried yn ddifater neu annghyfeillgar, ymddygwn yn lletygar attoch. Ond am ddillad, costau teithiol, a chynnorthwy i'ch teuluoedd tra yr ydych chwi oddiamgylch yn rhybyddio y byd, neu yn ein dysgu ni, rhaid i chwi redeg mewn dyled am danynt neu wneuthur hebddynt, neu eu cael lle y gallwch, nid oes a fy nom ni a'r mater. Ond aroswch ennyd, gadewch i mi weled, dyma ddolar i chwi; ewyllysiwn fod yn haelionus—ac o'r diwedd, pan ailfeddyliwn, cyfranwn ychydig ddimeuau at adeiladu yr arch; ond rhaid i chwi ei ystyried yn ddim ond cariad ar ein rhan ni, a diolch i, a'n bendithio ni am hyny. Nid oes genym, wrth gwrs, un elw personol yn y mater, ond ewyllysiwn fod yn gariadus i'n

brodyr. O !—gyda llaw, dymunwn i chwi aros hyd y fori, mae priodas i fod. Bwriada ein mherch briodu a boneddwr cyfoethog ; nid yw yn hollol yn Noahiad, ond y mae yn ddyn *fine iawn*, yn wir foneddwr ; meddylia bob peth am ein mherch, ac fe wna ŵr rhagorol. Heblaw hyny, dyma y ferch weddw ddiweddaf a feddwn. Mae y lleill i gyd wedi priodi yn dda, deuant i'r cyfarfodydd ar droion yn unig er mwyn ein boddio ac maent mewn amgylchiadau da mewn bywyd, er nad oes yr un o honynt yn credu yn drwyadl mewn Noahyddiaeth, ond —mewn gair, y maent yn gyfeillgar iawn.

Gwel y cenadydd pa fodd y mae; erys i'r briodas, teimla resyn dros bob plaid, eithr nis gall eu goleuo. Yn olaf, bendithia hwynt am eu llettygarwch a'u haelioni, a dychwel at Noah i hysbysu yr helynt.

Yn awr gofyner: Pa beth a ddywedai Noah am y Noahiaid hyn?

Diau y dywed: Yr eneidiau truenus a dall, y maent i'w gresynu ! Meddyliant eu bod yn Noahiaid, ond O, twyllo eu hunain y maent! Diolchwn iddynt, a bendithiwn hwynt am eu haelioni a'u cariad bychan, ac ymegniwn yn mlaen oreu a allwn yn ein dyledswyddau o adeiladu yr arch, a rhybuddio y byd.

Nid oes gan y Noahiaid proffesedig hyn wir ffydd; nid ydynt, mewn ffaith, yn Noahiaid. Nid ydynt yn addas i deyrnas Dduw, ac i fod yn gyd-etifeddion a ni o'r byd newydd ar ol y diluw. Rhaid iddynt gan hyny, er eu holl weddiau, eu crefydd, eu moesoldeb, a'u cariad, drengu gyda'r anufydd, a methu am iachawdwriaeth yn nheyrnas Dduw.

O'r diwedd yr arch a orphenir, a ddodrefnir, ac a boblogir. Yr ufuddion a hwyliant ymaith yn fuddygoliaethus dros ddarnau y byd distrywiedig, ac yn olaf deuant yn etifeddion daear gyfan, pan ei glanheir gan ddwfr.

Y Noahiaid proffesedig sydd yn colli eu bywydau, a'u holl feddiant. Eu meibion a'u merched wedi ymgymmysgu a'r byd, er iddynt *briodi yn dda*, a gyfodasant blant, ac a bentyrasant gyfoeth i ymddistrywio gyda hwynt yn y llif.

"Ac felly," dywed yr Iesu, "y bydd yn nyddiau dyfodiad Mab y Dyn."

"Mormoniaeth" a ddaeth i'r maes, nid yn unig i alw pobl i

gredu yn Iesu Grist, edifarhau, byw bywyd moesol, ufyddhau i ordinhadau Duw, myned i'r eglwys, canu, gweddio, a phregethu ; ond daeth allan i ddarparu y ffordd i ddyfodiad Mab y Dyn. Daeth i gasglu y Saint ac adailadu teyrnas Dduw i fod yn gadarn-le, neu nawddle, yn y dydd pan ddadymchwelir y drygionus. Os oes gan ddyn elw yn y byd yn nheyrnas Dduw, y mae ei holl elw ynddi. Ni eill gyda chyssondeb fod ag un elw tu allan iddi.

Mewn gair, os cred ddyn "Formoniaeth" rhyw fodd, rhaid iddo gredu, nid yn unig mewn ffydd, edifeirwch, a bedydd, a gosodiad dwylaw er derbyn dawn yr Ysbryd Glân, moesoldeb, gweddio, a chanu ; ond yn hollol ddadymchweliad y sefydliadau politicaidd, crefyddol, moesol, a chyfeillachol, ac adeiladiad teyrnas Dduw, a'i chyfiawnder yn eu lle, i sefyll dros fyth. Am hyny ni eill gael elwau, dybenion, neu fryd o'r neilldu i'r unrhyw.

Y fath ddyn, cyn gynted ag y cenfydd oleuni y deyrnas a ddechreua, a'i holl nerth, meddwl, a grym i lunio ei drafodiaethau, ac i osod ei hun, ei deulu, ei feddiant, ei lafurweithiau, a'i holl elwau, mewn cyflwr i gael eu rheoli, a'u hiawn gyfeirio gan yr Arglwydd a'i weision, mewn modd i gydweithredu ag eraill fyddont a rhan yn yr un cyd elwau.

Gwna, yn y cyfamser, os bydd feddianydd ar foddion, mewn pob doethineb a gweddeidd-dra, gynnorthwyo yr Henuriaid yn eu teithiau a'u cenadiaethau, a chymmeryd rhan o'u costiau a'u beichiau. Efe a ymddegyma, ac a gyfrana yn hael o bryd i bryd, tra yn ymddarparu i gydymgasglu a'r Saint. Dywed wrth ei fab neu ei ferch, na phriodwch allan o'r Eglwys, a chyfodi plant i drengu gyda Babilon Fawr, canys y mae pob sefydliadau llygredig ar gael eu dymchwelyd.

Mewn gair, a defnyddio ffigwr, treulia ei drysorau a'i lafuriau yn burol i adeiladu a lluniaethu yr Arch, a rhybyddio y byd ; ac yna a iddi ei hun gyda ei deulu, a'i holl drysorau gweddilliol. A felly efe a esyd sylfaen cyfoeth parhaol, a dyfod yn gyd-ettifedd a'r Saint yn yr ettifeddiaeth o fyd adferedig, pan y bydd y drygionus wedi eu cliro allan o hono gan farnedigaethau yr Hollalluog.

Yr eiddoch, &c.,
P. P. PRATT.

Philadelphia, Ionawr 19, 1857

# CREDOLRWYDD LLYFR MORMON, YN GYDMAREDIG AG EIDDO Y BIBL.

GAN C. W. WANDELL.

(O'r *Western Standard.*)

Oddiar oes gwyrthiau ac ysbrydoliaeth, mae y byd crefyddol, er ei amrywiol ymraniadau a gwahanolrwydd athrawiaethau, wedi dal, mewn un ystyr o leiaf, undeb ffydd, sef "fod y gyfrol o air Duw fel ei chynnwysir yn y Beibl, yn llawn, yn drwyadl, a pherffaith ;" ac, wrth y canlyniad, honiadau Llyfr Mormon i ddwyfol awdwriaeth a rhaid fod heb sylfaen mewn gwirionedd.

Os yw y Beibl yn wir yn cynnwys yr oll o air Duw, yna rhaid i ni addef nas gall Llyfr Mormon, fel yr ymhona fod yn rhan o'i air Ef, fod yn wir. Am hyny, ein ymholiad cyntaf o anghenrhaid sydd yn perthyn i'r llyfr blaenaf ; yn yr hwn y cynnygiwn, Os cynnwysa y Beibl yr oll o air Duw, cynnwysa, yn gyntaf, yr oll a ddadguddiodd Duw erioed. Yn ail, yr oll a ddadguddia Efe byth. Yn drydydd, rhaid fod yr hyn a ddadguddiwyd wedi aros yn bur, a chael ei drosglwyddo i waered i ni fel y roddodd Duw ef i ddyn.

1. *Nid yw y Beibl yn cynnwys yr oll a ddadguddiodd Duw i ddyn.*

Wrth gyfeirio at y Beibl, cawn son ynddo am y llyfrau canlynol fel yn bodoli unwaith, ac yn cael eu parchu mor fawr gan bobl Duw a'r rhai a gyrhaeddasant ein hamseroedd ni.

Tair mil Diarhebion Solomon, (o ba rhai ni feddwn ond rhan) ac un fil a phump o Ganiadau, (o ba rhai nid oes genym ond un) 1 Brenhinoedd iv, 32.

Llyfrau Gweithredoedd Solomon ; 1 Bren., xi, 41. Llyfr Nathan y prophwyd, a Llyfr Gad y gweledydd ; 1 Cron., xxix, 29. Prophwydoliaeth Ahijah y Shiloniad, a gweledigaethau Ido y gweledydd, 2 Cron., ix, 29. Llyfr Jehu ; 2 Cron. xx, 34. Prophwydoliaeth Urijah ; Jer. xxvi. 20—23. Llyfr Rhyfeloedd yr Arglwydd ; Num. xxi, 14. Llyfr Jasher ; Josh. x, 13. Cyhoeddiadau Apostolaidd ; Actau xvi, 4, 5. Epistol cyntaf Paul at y Corinthiaid ; 1 Cor. v, 9. Epistol Paul at y Laodiceaid ; Col. iv, 16.

Mewn ychwanegiad at y rhai hyn, cawn yn y 14eg a'r 15fed

adnodau o Jude, ddifyniad allan o Brophwydoliaeth Enoch, yn eglur gyfeirio at ail ddyfodiad yr Iachawdwr. Ac

Y mae yn eglur, os gallasai Enoch gyda llygad prophwydoliaeth drywanu y miloedd mynedol o flynyddau, a rhagfynegu dyfodiad Mab Duw gyda gallu, ni allai mewn un modd fod yn amgen nag iddo hefyd rhagfynegu llawer, os nad yr oll o'r dygwyddiadau hynod a sonir am danynt mewn hanesyddiaeth Feiblaidd. Ac

Y mae yn eglur oddiwrth y cyfeiriad, fod Prophwydoliaeth Enoch wedi cael ei chyflwyno i ysgrifen. Ac

Ni ddyry gofnodau hynafol un reswm i ni ammeu fod y gelfyddyd o ysgrifenu yn wybodus i'r cynddiluwiaid. Ac

Y mae yn eglur, fod y cofnod hwn neu rhyw ran o hono mewn bodoliaeth yn nyddiau yr Apostolion. Ac

Y mae yn eglur, mai heb i'r llyfr cyssegredig hwn, ar holl ysgrifeniadau ysbrydoledig sydd ar goll, gan bwy bynnag eu hysgrifenwyd gael eu hadferyd etto, a'u cyssylltu a'r Beibl presennol, ni all canon yr Ysgrythyr fod yn llawn.

Anfuddiol yw amrysoni fod y cyssegr lyfrau colledig heb fod o nemawr bwys; ac yn wir cyhuddo Duw yn ofer yw dweyd, iddo ef wneuthur dadguddiadau o hono ei hun i ddynolryw nad oeddynt werth y cadw. Rhaid i ni addef, y buasai llyfr yn cynwys hanes llawn a manwl o gyntaf oruchwyliaeth trugaredd Duw i ddyn, yn mha un y cawn sefydliad o'i glodforiad a'i addoliad yn aberthau meibion Adda, ac a rhaid fod wedi cael eu cofnodi yn Llyfr Enoch; nid yn unig yn ddyddorol tuhwnt i'r hyn y geill unrhyw ysgrifen diweddarach fod, ond hefyd yn bwysig mewn eglur ddesgrifio materion pwysig, y rhai a adawa mawr fyrdra yr hanes Mosenaidd yn ansicr.

Gyda golwg ar y Cyhoeddiadau Apostolaidd a rhagnodwyd, gwyddom fod y ffurfiad o gymdeithas newydd o anghenrhaid yn gydlynol ag ysgrifau pwysig, mewn trefn i reoli ei dysgyblaeth, i osod allan ei hegwyddorion, ac i roddi iddi y cyfryw gyssondeb y sicrha ei sefydliad pennodol a'i llwyddiant parhaol. Ac

Os gallwn farnu am bwysigrwydd y Cyhoeddiadau hyn wrth yr un ynghylch enwaediad. rhaid i ni ganiatau eu bod o'r pwys mwyaf, Ac

Ymddengys yn amlycach pan ystyriom y ffaith nad oedd, ar

yr amser hwnw, unrhyw ysgrifeniadau Cristionogaidd eraill mewn bodolaeth, mor bell ag y gwyddom ni. A

Pan yr ymddangosodd yr Epistolau a'r llyfrau Efengylaidd, eu cyfeiriadau anaml at ddysgyblaeth eglwysig, a awgrymant yn ymddangosiadol, fod y Cyhoeddiadau mor agos ag oedd yn bosibl yn holl ddigonol yn hyny. Oddiwrth yr ystyriaethau hyny, honwn i'r Cyhoeddiadau fod yn air Duw i'w Eglwys; ac oddieithr eu dadguddir, ni eill y cyssegr ganon fod yn llawn.

*(I'w barhau ar ddiwedd yr Olygyddiaeth.)*

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

## DYDD SADWRN, EBRILL 11, 1857.

Cyfarwyddiadau Cyffredinol i Fugeiliaid, Llywyddion, ac Henuriaid.—(O'r *Star*).—Yn gydunol a'r cyfarwyddiadau a dderbyniasom oddiwrth y brif Lywyddiaeth, dywedwn wrth Fugeiliaid a Llywyddion y Cynnadleddau trwy y genadiaeth Ewropaidd—anfonwch yr henuriaid allan i blith y cenedloedd, i'r dinasoedd a'r pentrefi trwy y tir, a'u rhybuddio i edifarhau am eu pechodau. Dangoswch iddynt yr angenrheidrwydd o fyned i gyfammod a Duw, ac o gael eu casglu allan o Babilon cyn yr ysguba farnedigaethau yr Hollalluog hwynt o'r ddaear. Aed yr Henuriaid allan heb bwrs nac ysgrepan, fel yr aethant yn nyddiau yr Iesu, ac fel y maent wedi gwneuthur oddiar cyfodiad cynnar yr Eglwys. Ewch allan, frodyr yr offeiriadaeth, a ffydd yn addewidion Iesu Grist, a chwi a lwyddwch—eich ffordd a agorir, ni cha neb drengu o eisiau bwyd, neu fyned yn noeth o ddiffyg dillad, a chwi a gewch ddwyn llawer o eneidiau i wybodaeth o'r gwirionedd. Ymprydiwch a gweddiwch hyd oni orphwyso yr Ysbryd Glân arnoch. Yna pregethwch i'r bobl fel eich harweinir, a'ch geiriau a fyddant a bywyd a nerth ynddynt—eich

geiriau a fyddant Efengyl—yn allu Duw er iachawdwriaeth i bawb a gredant. Pan eich gwrthodir ac eich herlidir mewn un lle, ewch oddiyno tua ryw le arall, gan adael eich tystiolaeth i'w herbyn, yn ol gair Duw. Bydd yn well i Sodom a Gomorah yn nydd y farn nag i'r rhai a wrthodant eich geiriau chwi. Pan eich troir ymaith, ac na phorthir chwi am ddiwrnod neu ddau, na wan-obeithiwch, fe ddarpara yr Arglwydd drosoch mewn amser gweddus, os na fetha eich ffydd. Gelwir arnoch i wneuthur mawr waith; mawr fydd eich gwobr os gwnewch eich dyledswydd; a gogoneddus fydd canlyniad yr ymdrechiadau y gelwir arnoch yn awr i'w gwneuthur. Ni ddeil Duw unrhyw fendith yn ol rhag y rhai a fyddant gadarn yn eu penderfyniad i gario allan y cynghor hwn.

Ymprydied a gweddied gwragedd a phlant dros eu tadau a'u gwŷr sydd yn myned allan i winllan yr Arglwydd, a pheidio a'u dal yn ol drwy ofn anghen; a hwy a fendithir yn ysbrydol a thymmorol, eu bywydau a gedwir, a'u hunain a gesglir i Seion, yn ganlyniadol i lafuriau gweinidogaethol yr Henuriaid.

Y mae yn awr amryw henuriaid yn sefydledig yn y gwahanol gangenau trwy Genadiaeth Ewropaidd, talentau y rhai sydd yn nghudd: gorweddant yn farwaidd. Dymunwn i bawb o'r cyfryw edifarhau, a chyfodi o'r sefyllfa o gysgadrwydd ac ewch i blith y cenedloedd, gan bregethu iddynt Efengyl y Deyrnas. Gwneled yr Henuriaid rhywbeth a'u hawliant i adgyfodiad gogoneddus yn nyfodiad Mab y Dyn, yr hyn sydd yn agoshau.

Dylai henuriaid teithiol roddi cyfrif i lywyddion y cynnadlau bob pythefnos, neu amlach os gofynir, o'u helynt, eu llwyddiant, &c. Casgled henuriaid llywyddol y cangenau, trwy gynnorthwy yr athrawon, y degymau, a'r cyfraniadau i'r Drysorfa Ymfudol Geiniogol, yn wythnosol. A bydded i lywyddion y cynnadleddau, gymmaint ag sydd yn bosibl, deithio o gangen i gangen, gan gynhyrfu y Saint i fyny i ddiwydrwydd yn y cyflawniad o'u holl ddyledswyddau, a derbyn o ddwylaw llywyddion y cangenau yr arian a fyddont wedi eu casglu.

Na threulier un arian gan unrhyw lywydd cynnadledd heb ganiatad ei fugail. Mae llywyddion cynnadleddau i roddi cyfrif i'w bugeiliaid mor aml ag y gofynir. Delir bugeiliaid

yn gyfrifol am bob arian a gesglir yn eu gwahanol fugeiliaethau, a gofynir iddynt drwy hyn yma i *roddi cyfrif hanner-blynyddol i'r swyddfa hon, o'r symiau a dderbynir ac a dreulir, ac i ba ddyben.*

Ni ofynwn ychwaneg oddiwrthych/chwi nag a ofynir genym ninau. Ddim ond y drygionus sydd ag achos i ofni ymchwiliad i'w hymddygiad.

Ystyriwn yn ddoethineb i ddarfod a chymmanfaoedd chwarterol, ac i gynnal ein cymmanfaoedd yn hanner-blynyddol, ar y cyfryw amserau ac yn y cyfryw leoedd a ofyna amgylchiadau.

Dymunwn gael gwared o bob costau a rentydd Cynnadleddau, a neuaidd. Rentwch y cyfryw neuaidd at gynnal eich cyfarfodydd ag a ofyna amgylchiadau, er mantais y Saint, a'r dyeithriaid a gyrchant i'ch cyfarfodydd. Ar achlysuron neillduol, pan y dysgwyliwch gynnulleidfa fawr, rentwch neuadd am yr amser a fyddo yn ymdaro i'w cynnwys.

Dymunwn i lywyddion cynnadleddau dreulio gymmaint o'u hamser a ganiatao eu dyledswyddau ereill mewn pregethu yr Efengyl i'r diargyhoeddedig. Gwae y rhai esmwyth arnynt yn Seion.

Dymunwn i fugeiliaid a llywyddion cynnadleddau i geisio ysbryd y brophwydoliaeth, ac fel eu cyfeirir gan yr Ysbryd Glân i alw ac anfon Henuriaid ffyddlawn i bregethu yr Efengyl fel y dangosir yma, hefyd i ordeinio ereill sydd yn deilwng, a'u hanfon allan. Nid oes arnom eisiau gwenyn diog yn y cwch.

Etholwch gymmaint sydd yn bosibl y rhai na feddant deuluoedd; etto i gyd, caffed y rhai sydd a theuluoedd, os meddant ffydd, ac a allant eu gadael mewn cyflwr i gynnal eu hunain, gael eu galw i'r weinidogaeth hon.

Wrth derfynu, dywedwn wrth y bugeiliaid, yr ydym yn ymrwymo arnoch i weled fod y cyfarwyddiadau a gynwysir yn yr epistol hwn yn cael eu cario i effaith trwy y gwahanol gynnadleddau yn eich bugeiliaethau.

---

(*Parhad Credolrwydd Llyfr Mormon.*)

2. Ni chynnwysa y Beibl yr hyn oll ag a addawodd Duw ei ddadguddio.

Ymddengys mai dyledswyddau cyffredin yr Apostolion a fuont i geryddu y drygionus—i gysuro y cyfiawn, ac i rhagdraethu llwyddiant neu adfyd, fel y byddai yr achos; eithr yr ysbryd prophwydol a gyfeiriwyd yn bennaf at oruchwyliaeth fawr y dyddiau diweddaf, yn yr hon y mynegir, mai mor fawr y bydd dangosiad gallu Duw, fel na fydd i nerthol ryfeddodau amseroedd cyn-oesol gael eu cofio yn hwy, neu ddyfod i gof.

Mai yn y dyddiau hyny y dyweda y cenedloedd, "Deuwch, ac awn i fyny i fynydd yr Arglwydd, i dŷ Duw Jacob, ac Efe a ddysg i ni am ei ffyrdd, a nyni a rodiwn yn ei lwybrau Ef; canys o Seion yr â allan y gyfraith, a gair yr Arglwydd allan o Jerusalem." Esay ii, 3. Ac

Mai yn ei ail ddyfodiad, "Efe a deyrnasa ar Fynydd Seion, ac yn Jerusalem, ac o flaen eu hynafiaid yn ogoneddus." Esay xxiv, 23. Ac

Fod mynediaid allan y gyfraith hon er llywodraethiad y Deyrnas Fil-flynyddol, a gair yr Arglwydd er addysg ei bobl yn anwahanol gyssylltiedig a'r teyrnasiad cyfiawn a gogoneddus yma. Ac

Y cyfreithiau a gyflwynir, a'r areithiau a roddir y pryd hwnw a fyddant *bona fide* yn air Duw. Ac

Fel y cyfryw a fyddant mor gyssegredig ac ogyfuwch awdurdod ag unrhyw ddadguddiad a roddwyd o'r blaen. Ac

A ddeuant yn rhan hanfodol o gyfrol fawr gair Duw. Ac

Nid oes unrhyw destun yn yr Ysgrythyrau sydd mewn unmodd yn ymfilwrio yn erbyn y canlyniad dymunol yma: hyny yw, sydd yn selio i fyny enau Duw, ac yn penu dadguddiad; er fod esboniadau ac ychwanegiadau dyn yn cael eu gwahardd o dan y cospedigaethau llymaf.

3. Rhaid i'r hyn a ddadguddiwyd fod wedi aros yn bur, a chael ei drosglwyddo i waered i ni fel ei roddwyd gan Dduw i ddyn.

Nid oes, feallai, a ddyry i'r Cristion synwyrol fwy poen na'r addfeddwl, fod y Testament Newydd wedi dyfod i waered i ni drwy gyfrwng lleidiog Eglwys Rhufain. I eglwys lygredig, er gwneuthur i'r ysgrifau hyn gyd-daraw yn berffeithiach a'u gau gredoau, erchi iddynt gael eu *hadolygu a'u gwella*! yr hwn eirchiad a roddwyd A. D. 506, gan Anastasius, ac a gariwyd allan yn Constantinople. Ac i Jerome gwyno yn y dydd

cynnar hwnw, "Nad oedd yr un o'r copiau yn gyffelyb i'r llall." Ac

Mai wedi y gwnaethwyd y cyfryw "ymiawniad," i'r monachod Catholicaidd, er arddangos eu cywreinrwydd mewn drygioni, lygru cymmaint ar y copi ymiawniadol hwnw, hyd nes yr oedd, ar amser yr argraffiad Elzivir o'r testun Groegaidd, A.D. 1624, "tua 130,000 o amrywiol ddarlleniadau."

Yn ngwyneb y ffeithiau hyn, pwy a synai y darparai Duw ffordd i adferyd i ddyn, yn ngoruchwyliaeth y dyddiau diweddaf o *adferiad pob peth*, gopi pur o hanesyddiaeth Efengylaidd, naill a'i drwy achosi i gopi gael ei gladdu yn y ddaear; neu drwy ei ddadguddio o'r newydd o'r nef; neu y ddau.

Mewn trefn i eglur arddangos awdurdodiaeth unrhyw ysgrifen ag yr honir ei bod o natur gyssegredig, anghenrhaid yw sefydlu y pwyntiau canlynol: sef: Pwy ydoedd yr ysgrifenydd? Pa beth oeddynt yr amgylchiadau a alwent allan y cynnyrchiad? Gellir galw y rhai hyn yn brawfiadau allanol; y rhai gan eu bod wedi cael eu sefydlu, rhydd ydym i droi at y prawfiadau mewnol, a barnu oddiwrth deilyngdod gwerthfawr ei bwnc, pa un a all, neu nad all feddu ragoriaeth na fyddo yn llai nag eiddo yr ysgrythyrau hyny a gyfaddefwn iddynt gael eu hysgrifenu trwy ysbrydoliaeth ddwyfol.

Llyfr Mormon, fel y Beibl, sydd grynhoad o nifer o lyfrau, a ysgrifenwyd gan ddynion o wahanol genedloedd, ac ar wahanol amserau. Y cyntaf yn y drefn o amser ydyw Llyfr Ether, yr hwn sydd yn gofnod am blaid, yr hon ar gymmysgedd yr ieithoedd a'r ymwasgariad dilynol, a adawasant wastadedd Shinar ac a adeiladasant longau, yn mha rai eu gyrwyd yn groes i'r môr Tawel, a chan dirio yn y lle a elwir yn awr Central America, sefydlasant eu hunain yno ac a oeddynt y sylfaenwyr cyntaf o amherodraeth a gwareidd-dra ar y Cyfandir gorllewinol; daethant yn bobl mawr; ond gan syrthio i fawr ddrygioni yr hyn a fagodd gynnenau a rhyfeloedd cartrefol, dinystriwyd hwynt megis pobl o'r diwedd. Rhoddodd grynodeb o'u hanes ar lafnau aur; y rhai gan syrthio i ddwylaw Moroni, o genedl arall, efe a'i talfyrodd yn mhellach ar lafnau aur, ac a'i crynhodd gyda llyfrau cyssegredig ei bobl ei hun.

Dywed Moroni: "Y sawl a ysgrifenodd y cof-lyfr hwn oedd Ether, ac yr oedd yn ddisgynydd o Coriantor; Coriantor oedd fab Moron, a Moron oedd fab Ethem, ac Ethem oedd fab Ahah, ac Ahah oedd fab Seth, a Seth oedd fab Shiblon, a Shiblon oedd fab Com, a Com oedd fab Coriantum, a Coriantum oedd fab Amnigaddah, ac Amnigaddah oedd fab Aaron, ac Aaron oedd ddisgynydd o Heth, mab Hearthom, yr hwn oedd fab Lib, a Lib oedd fab Kish, a Kish oedd fab Corum, a Corum oedd fab Lefi, a Lefi oedd fab Kim, a Kim oedd fab Morianton, a Morianton oedd ddisgynydd o Riplakish, a Riplakish oedd fab Shez, a Shez oedd fab Heth, a Heth oedd fab Com, a Com oedd fab Coriantum, a Coriantum oedd fab Emer, ac Emer oedd fab Omer, ac Omer oedd fab Shule, a Shule oedd fab Kib, a Kib oedd fab Orhiah, yr hwn oedd fab Jared, yr hwn Jared a ddaeth allan gyda'i frodyr a'u teuluoedd, ynghyd ag ereill a'u teuluoedd, o'r tŵr mawr, yn yr amser ag y cymmysgodd yr Arglwydd iaith y bobl, a thyngu yn ei lid eu gwasgarid ar hyd holl wyneb y ddaear. A brawd Jared oedd ddyn mawr a galluog, ac yn ddyn hoff iawn gan yr Arglwydd; canys Jared ei frawd a ddywedodd wrtho, Galw ar yr Arglwydd, na ddyryso ni fel na ddeallom ein geiriau. A bu i frawd Jared alw ar yr Arglwydd, a'r Arglwydd a dosturiodd wrth Jared; am hyny, ni chymmysgodd efe iaith Jared; ac ni ddyryswyd Jared a'i frawd. Yna Jared a ddywedodd wrth ei frawd, Galw drachefn ar yr Arglwydd, a dichon y troa ymaith ei lid oddiwrth y rhai ag ydynt ein cyfeillion, fel na chymmysgo eu hiaith hwythau. A bu i frawd Jared alw ar yr Arglwydd, a'r Arglwydd a dosturiodd wrth eu cyfeillion, a'u teuluoedd hefyd, fel na ddyryswyd hwynt. A bu i Jared lefaru drachefn wrth ei frawd, gan ddywedyd, Dos ac ymofyn â'r Arglwydd pa un a yra efe ni allan o'r wlad, ac os gyra efe ni allan o'r wlad, gofyn iddo pa le y cawn fyned. A phwy a ŵyr na ddwg yr Arglwydd ni allan i wlad fwy dewisol nâ'r holl ddaear. Ac os mai felly y bydd, gadewch i ni fod yn ffyddlawn i'r Arglwydd, fel y derbyniom hi i ni yn etifeddiaeth.

Yr ail lyfr yn y drefn o amser, yw Llyfr 1af Nephi. Nephi oedd fab Lehi, yr hwn oedd ddisgynydd o Joseph yr Israeliaid, yr hwn a werthwyd i'r Aifft. Meddianai Lehi ysbryd y brophwydoliaeth, ac a drigodd yn Jerusalem ar ddechreuad

teyrnasiad Zedikiah brenin Judah yn flaenorol i'r caethiwed Babilonaidd. Gan gael ei rhybyddio gan Dduw am y caethgludiad oedd ar gymmeryd lle, efe a symmudodd o Jerusalem, gan gymmeryd ei deulu, a theulu un Ishmael gydag ef, efe a deithiodd yn nghyfeiriad y Môr Coch: ar ol yr hyn yr aethant mewn cyfeiriad dwyreiniol neu ddeheu-ddwyreiniol hyd nes y daethant at y dyfroedd mawrion, yn mha le, gan gael eu gorchymyn drachefn, adeiladwyd llong yn yr hon y croesasant y Môr Tawel, gan dirio ar làn gorllewinol America Ddeheuol. Union fan eu gwersyllfa gyntaf sydd anhysbys: ond teilwng yw sylwi, fod carnedd teml orfawr, sydd dipyn yn ddeheuol i borthladd Valpariso, o hyd yn ymdaro yn lle tir-nod i forwyr, er cyfeirio eu llwybr i'r ddinas hono, ac nid yw yn anhebyg iddo gael ei adeiladu er ymgoffhau eu gwersylliad cyntaf yn eu "gwlad addawedig." Math o gof-golofn Plymouth *Rock*.

Nephi ydoedd ddyn da. Calon ddrwg ni fyddai byth wedi mynegu y syniadau neu feithrin yr egwyddorion a hynodent ei ysgrifeniadau. Meddianai ysbryd y brophwydoliaeth; ac a ysgrifenodd dau lyfr o brophwydoliaeth, athrawiaeth ac hanesyddiaeth.

Ar farwolaeth ei dad, olynodd i'r Batriarchaeth; eithr ei frawd hynaf, Laman, i'r hwn y perthynai y swydd yn llinachol, ond yr hwn ydoedd wedi ei cholli trwy drosedd, a wrthryfelodd, ac a aeth i ran bellenig, gan fyned a chynnifer a'i dilynasant gydag ef.

Allan o'r ymraniad yma cyfododd dwy genedl wahanol, y Nephiaid a'r Lamaniaid. Y blaenaf yn bobl gwaraidd a chrefyddol, y rhai a adeiladasant ddinasoedd, temlau, a thyrau, (neu *pyramids*). y rhai a wrteithiasant y celfyddau—a fuont byw dan drefn amddiffynol llywodraeth gysson, ac a hynodwyd am eu diwydrwydd mewn dilyniadau gweithyddawl. Yr olaf a ymsuddasant i farbariaeth, ac yn benaf o ba rhai y disgynodd Indiaid y dydd presenol.

Fel y cynnyddodd y Nephiaid mewn rhifedi estynasant eu terfynau yn ogleddol, hyd nes, yn mhen amser, y daethant at Gyfyngdir Panama ;gan groesi yr hwn, daethant i wlad y Jarediaid y rhai oeddynt yn flaenorol wedi cael eu dinystrio.

Meddianau y bobl hyn a ddaethant yn eiddo y Nephiaid, a'r

d losran yma o'r wlad. yr hon a alwent "y tir Llawnder," a ddaeth yn brif drigle eu brenhinoedd.

Ar farwolaeth Nephi, ei frawd Jacob a ymgymmerodd y ffrwynau o lywodraeth, ac a ysgrifenodd hanes o'i deyrnasiad.

Ar ei ol ef, Enos a ddaeth yr hanesydd Nephiaidd—wedi hyny Jarom, Omni, Amaron, Chemish, Abinadom, Amaleki, Mosiah, Alma, Helaman, Nephi mab Helaman, Nephi mab Nephi, Mormon a Moroni. Ffurfia ysgrifeniadau y personau hyn hanes parhaus o ddyddiau Nimrod i waered hyd y pedwar cant ac ugeinfed flwyddyn o'r cyfrif cristianogol,

Cynnwysir yr ysgrifeniadau hyn yn Llyfr Mormon, ac nid ydynt *in extenso*, eithr yn dalfyriadau a wnaed gan Mormon a'i fab Moroni, ac a gerfwyd ganddynt ar lafnau aur, y rhai wrth orchymyn Duw a gladdwyd yn y ddaear, gydag addewid eu darganfyddid ac eu cyhoeddid yn y dyddiau diweddaf. Ar amser y dygwyddiad yma yr oedd y Nephiaid a'r Lamaniaid mewn rhyfel a'u gilydd, yn mha un yr oedd yr olaf yn fuddygoliaethus; a chladdiad y cofysgrifau oedd unig fodd sicr eu cadwedigaeth.

Yr oedd y mwyafrif o'r ysgrifenwyr Nephaidd yn ddynion da ac yn feddianol ar ysbryd y brophwydoliaeth. Ac o ganlyniad mae Llyfr Mormon wedi cael ei wneuthur o gyffelyb sylweddau ag sydd yn y Beibl. Cynnwysa hefyd hanes o ymweliad ein Hiachawdwr a'r Nephiaid, ar ol ei adgyfodiad.

Mabwysiadwyd yr Aifftaidd yn sylfaen eu haith ysgrifenedig, er iddi gael cryn gyfnewid a gwella.

Wedi roddi i'r darllenydd feddylrith cyffredinol o Lyfr Mormon, af yn mlaen yn awr i adrodd dull ei ddarganfyddiad a'i gyfieithad; wedi gwneuthur yr hyn af i gydmaru y prawfiadau o'i gredolrwydd a'r eiddo o'r Beibl.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 9.] EBRILL 25, 1857. [CYF. X.

## DRYCH, O WNEUTHURIAD CARTREFOL,

*Er defnydd y Saint Cymreig ac eraill.*

*Merthyr Tydvil, Awst* 8, 1857.

Ermyg Lywydd Daniels.--Fy rheswm dros anfon attoch yn bersonol a welwch yn nghynnwysiad fy ysgrif. A chyda llaw, gallaf eich hysbysu fod pregethu y Diwygiad, a *diwygio*, gan lawer, trwy hyd a lled y cylchoedd hyn. Mwynheir y cariad cyntaf—teimlir bywyd helaethach—ysbryd eu swyddi a orphwys ar, ac, a nerthol weithia yn y gwahanol swyddogion, fel y penderfynant lafurio yn fwy diwyd i bregethu, tystiolaethu, ac annog pawb oll i ufyddhau yr efengyl; yr hon a gyflwynwyd i Joseph Smith, Prophwyd mawr y Dyddiau Diweddaf. Mae amrai eisoes wedi derbyn y dystiolaeth, ac wedi ymuno a'r Saint, yr hyn a wyddoch ond odid trwy y brawd A. S. Williams, yr hwn a brofais yn ddyn didderbyn-wyneb, gan ystyried ei hun yn nghyd a'i frodyr, megis cydweithwyr yn ngwinllan Crist.

Llawer iawn o'r Saint ydynt etto heb ymgyfammodu i ymdrech o newydd o blaid y ffydd.

Gellir rhanu y rhai hyn i dri neu bedwar o ddosparthiadau, yr hyn a wasanaetha fel rheswm o'u bod yn addoedi ymgyfammodu o newydd i wneuthur ewyllys Duw.

*Yn gyntaf.* Y rhai hyny ag ydynt am hir amser wedi bod yn llesg, yn ddiog, ac yn ddiymdrech yn yr Eglwys; a chanddynt enw eu bod yn fyw, a meirw ydynt.

Y rhai hyn yw y rhai sydd yn ymrwystro gyda phethau ni pherthyn iddynt, eithr a berthyn yn hollol i eraill ag ydynt

brofedig mewn rhinwedd, a daioni, ac yn gyfrifol am eu hymddygiadau yn unig i brif awdurdodau yr Eglwys. Ymwenwynant ynddynt eu hunain, gan wenwyno y sawl a ddel i eu cyfeillach. Hwynthwy ydynt yn gwawdio, cellwair, a dirmygu y brodyr ffyddlon sydd yn ymweled a hwy, eu hannog i edifarhau a throi o gyfeiliornu eu ffyrdd, i gyfammod a Duw, a rhodio yn ffyrdd doethineb. Nid ydynt erioed wedi talu i'r Arglwydd ei eiddo—gwrthwynebant gyfraith y Degwm—aethant i ddygn dywyllwch, gan dadogi dideimladrwydd, trais a gormes, hyd y nod ar Brophwydi ac Apostolion y Duw byw, yn y dyddiau diweddaf hyn.

*Yn ail.* Y rhai hyny ag ydynt wedi colli Ysbryd Duw, trwy fod yn ymyrwyr a materion rhai eraill; wedi gollwng dros gof y cynghor o eiddo y Prophwyd Brigham, yr hwn sydd yn dywedyd wrth bawb "*Mind your own business.*" Ni wel y rhai hyn eu beiau eu hunain, eithr gwelant feiau mewn eraill lle nad ydynt. Mae ffaeleddau a gwendidau y Saint ffyddlon megis gwledd iddynt. Nid ydynt yn credu mai "mewn llawer o bethau yr ydym ni *bawb* yn llithro." "Y cyfiawn er llithro seithwaith, yr Arglwydd a'i cyfyd ef i fyny." yr hyn sydd yn groes hollol i eu hewyllys hwy.

Hynod mor graff eu golwg ydynt. Haerant eu bod trwy y *trawst* neu y *ceibren mawr* yn eu llygaid eu hunain, yn medru gweled y *brycheuyn* neu y *blewyn* main yn llygaid eu brodyr rhinweddolaf! Dywedir am lygad barcut ei fod yn fwy treiddiawl na llygad eryr. Eithr y mae llygaid y rhai hyn yn fwy trywanawl na'r ddau: gallant hwy ganfod y blewyn yn llygaid eu brodyr trwy y pawl, trawst neu y ceibren yn eu llygaid eu hunain. Gwylier am yr amrantau. Bendith fawr erddynt hwy fyddai iddynt i fwrw y trawst allan o'u llygaid eu hunain yn gyntaf, ac yna y gwelant yn eglur i fwrw allan y brycheuyn o lygaid eu brodyr, ac nid tramgwyddo o herwydd y blewyn yn llygad arall, ei nodi i arall er niwed, a cheisio ei fwyhau. Canys efe ei hun yn unig sydd yn teimlo y poen a achosir hyd y nod gan y brycheuyn lleiaf hyd y nod yn ei lygad ei hun, ac yn ceisio er ei fwyn ei hun ei gael allan, a chael eli llygaid a goleuni yr Ysbryd Glan i ei dywys a chadw ei lygad yn syml at ogoniant Duw yn mhob gweithred o'i eiddo, fel na chaffo ei flino gan frychau wrth edrych a "chyrchu at y nod am gamp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu."

*Yn drydydd* Y rhai hyny ag nad ydynt wedi ymarfer i gadw y "Gair Doethineb" yn gyflawn yn ei holl ranau. Adwaenwyf amryw frodyr, ac yn neillduol chwaeriorydd, sydd a dymuniad eu calon i wasanaeth Duw, a byw trwy bob gair a ddaw allan o enau Duw trwy ei weision. Etto, o herwydd eu cynnefindra ar fywioliaeth arferol o'u genedigaeth, teimlant y byddai cyfnewidiad rhai o'r bwydydd yr ymarferent a hwynt, yn niweidiol i'w cyfansoddiadau. Y rhai hyn, fwyaf o honynt, ydynt weiniaid, afiach, a llesg, hen a methiedig. Cynghorwyd y cyfryw yn ol cyfarwyddid yr Apostol Benson a'r eiddo chwithau yn "*Udgorn Seion,*"

sef, "Na fydder yn rhy galed wrth y Saint, ac na adawer i bethau fod ar ol ychwaith." Annogwyd hwynt i edifarhau—ymgyfammodu—a gweddio wedi hyny am yr Ysbryd Glân i eu cyfarwyddo a'u dysgu mewn doethineb i adnabod yr hyn sydd o les, a gwrthod yr hyn sydd a niwed ynddo—ymdrechu a'u holl galon i adeiladu yr Eglwys—ymarfer cynnildeb yn mhob peth, a darparu yn ddoeth er cael eu gwaredigaeth i "Ddyffryn y Mynyddoedd."

*Yn bedwerydd.* Y rhai hyny a ystyriant y "Cyfammod" yn rhy bwysig i ymwneyd ag ef mewn un modd braidd. Maent yn foddlon degymu i'r Arglwydd; ac amrai o honynt wedi gwneyd, er y dechreuad yn agos: teimlant awydd i fyned allan a phregethu yr Efengyl, &c. Eithr ystyriant y "Cyfammod," gyda golwg ar y "Gair Doethineb," pe byddai iddynt droseddu un ran o hono, ar unrhyw achlysur, y byddai hyny yn bechod anfaddeuol iddynt; a phe y troseddent ef yn y radd leiaf yn holl ystod eu bywyd, y byddai hyn yn bechod digonol i eu damnio am byth.

Mae y diafol yn gyfrwys yn y fusnes hon.

Yn gyntaf, wrth geisio eu darbwyllo nad oes dim yn gynnwysedig yn Efengyl Crist ond "tetotaliaeth." Nid ydyw am i brif bethau perthynol i'r Cyfammod fyned byth i eu meddyliau, Mae pregethu am Joseph Smith, Prophwyd mawr y dyddiau diweddaf, ymgasgliad y Saint, &c., yn un o'r pethau ffieiddiaf gan y diafol yn yr holl fyd.

Yn ail: I guddio hyn hyd y gallo, gwna bob dyfais i ddychrynu rhai o'r Saint, a dangos ei fod yn berygl bywyd tymhorol ac ysbrydol iddynt i ymgyfammodi hyd oni fyddont yn flaenorol wedi gorchfygu pob blys: ac mai allan o Eglwys Iesu Grist y mae iddynt gael nerth i fyw, a threchu pob drwg, a chwant a blys, a serchiadau halogedig, &c., hyd oni ddelont yn ddigon cyfiawn, pur, a dihalog i gael eu himpio i mewn, fel na byddo i drugaredd Duw, eiriolaeth Crist, na Dawn yr Ysbryd Glan i wneud dim a hwynt yn yr Eglwys.

Mor ddichellgar ydyw yr un drwg, fel y mae yn hudo rhai trwy hyn yn mhellach bellach, heb gyfammodi, ac ymroddi yn fwy i'w ewyllys halogedig ei hun; ac yn y diwedd, wedi i eu dyled o ddegymu i'r Arglwydd groni, dangos iddynt ar ol bod wedi oedi cyhyd, heb gyfammodi, ei bod wedi myned yn rhy bell iddynt allu byth cyflawnu, a myned yn mlaen gyda chydwybod ddirwstr. Mae llawer o ymdrech wedi ei wneud i eu dysgu yn wahanol. Dangoswyd hefyd iddynt mai nid rhai "cyfiawn, ond pechaduriaid a eilw Duw i edifeirwch," ac mai nid allan o Eglwys Iesu Grist y ceir nerth i orchfygu temtasiynau satan, eithr trwy ddyfod yn mlaen a chyfammodi, a chael eu bedyddio er maddeuant o'u pechodau, a chael arddodiad dwylaw er eu hadgadarnhau ac y derbyniont drachefn yr Ysbryd Glan, gan ymdrechu a'u holl allu gwneuthur ewyllys Duw—talu eu degymau i'r Arglwydd—byw wrth bob gair Duw—myned yn mlaen mewn ffydd, tystiolaethu, pregethu a rhybuddio y cenedloedd am y din-

ystr buan sydd yn dyfod ar warthaf yr anedifeiriol a'r anufyd
i Efengyl ein Harglwydd Iesu Grist.

Mae un peth arall hefyd wedi ymddangos yn yr *Udgorn*, ag
mae rhai am gymmeryd mantais arno i beidio talu eu degw
hyny yw, fod yno awgrymiad amlwg "fod yn anmhosibl" i rai
dalu. Cyfarfuwyd a rhai yn yr amgylchiad hwnw, megis h
bobl heb allu enill dim, yn cael eu cadw yn hollol gan eraill
gwragedd a phlant ag ydynt yn hollol dan lywodraeth eraill
nad ydynt yn yr Eglwys, ac heb fod yn ewyllysio ar un cyfri
roddi iddynt yr un hatling leiaf at adeiladu teyrnas Duw.

Peth arall, etto, sydd yn rhwystr mawr i lawer o'r Saint i y
gyfammodi yw, y Saint hyny ag sydd yn debyg i ser gwibi
mewn niwl. Yn symmud o le i le, o weith i waith, ac o un Gy
nadledd i un arall, nes o'r diwedd wedi myned yn hollol ddiys
o'u crefydd yn ei holl ranau, a boddi yn hollol yn ysbryd y b
ac effeithio niwed ar eraill, a halogi a gwenwyno meddyliau
ysbrydoedd llawer. Meddyliwyf fod dosparth Aberdâr
Merthyr, yn dyoddef mwy oddiwrth y cymmeriadau hyn, nag
lle arall yn Nghymru. Deuant yma yn wenwyn i gyd; gwenw
ant eraill, y rhai a ddychwelant yn mhen ychydig i eu hen le
hau hadau gwrthryfel yn meddyliau eraill drachefn; a hyny
ddiarwybod hollol braidd i lywyddion cangenau a chynnadledd
eithr erbyn hyn aeth yn *stop* arnynt, oddigerth iddynt i edi
hau, yr hyn, gobeithio, a gymmer le yn fuan. Etto, "Parch
bo parch yn ddyledus." Mae llawer o frodyr a chwaerion
wedi symmud o un Gynnadledd i'r llall o herwydd amgylchia
gorfodol, ac y mae bendith Duw yn eu dilyn, ac yn gwneud
symmudiad yn fendith i eraill, a bendith eu llywyddion g
hwynt bob amser.

Rhywbeth yn debyg i'r darluniad uchod yw sefyllfa peth
mor bell ag y gallaf ddeall wrth ymdrechu gwneud fy ngore
bregethu i'r byd, ymweled a'r Saint, eu haddysgu a'u hyffor
ac adeiladu yr Eglwys yn mhob dull galluadwy i mi. Yr
yn benderfynol pregethu a thystiolaethu yn mhob tref, pent
cilfach a chongl, lle y bum yn pregethu, a lle na bum, os deu
wybod am dano yn rhyw le yn maes fy llafur.

Gan weddio ar ein Tad Nefol i fendithio fy ymdrechiadau,
ymdrechiadau ei weision ffyddlon trwy y byd, i gael llawer o
eidiau at ei Fab, Iesu Grist, ac i eich bendithio chwithau yn
oll o eich gweithredoedd, y gorphwys,

Eich brawd yn yr Efengyl,

DEWI ELFED JONE

---

PEDWERYDD EPISTOL CYFFREDINOL ARDDE
*Llywyddiaeth Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf*
*y Saint yn Nyffrynoedd y Mynyddoedd a'r rhai hyny*
*sydd yn wasgaredig ar led trwy y ddaear, yn anerch:*

Anwyl Frodyr: Gan deimlo yn gymhellol gan Ysbryd

Duw i ysgrifenu attoch mewn perthynas i bethau y deyrnas, a chan gael eofndra mwy yn hyny drwy achos o ffydd a thystiolaeth yr Arglwydd Iesu a'r Ysbryd Glân, o'r hwn y derbyniasom ac yn dwyn tystiolaeth i'r holl fyd, yr ydym yn myned yn mlaen i amlygu i chwi y cyfryw awgrymiadau o eiddo yr Ysbryd perthynol i Eglwys a Theyrnas Duw megis y maent neu y gallant gael eu cyflwyno i ni, gan hyderu y profant yn addysgiadol a buddiol i'r Saint.

I'r rhai hyny ag sydd yn darllen ein cyhoeddiadau, nid oes eisieu i ni ail-adrodd yn fanol y gweithrediadau a'r llwyddiant cydfynedol a llafur-waith ein cenadwri, gan fod y cyfryw hysbysrwydd yn fedrus a chyflawn yn cael ei osod i lawr o flaen y bobl trwy y cyfleadau hyny, digonol yw dywedyd, fod llwyddiant unffurfiol wedi canlyn ymdrechion ein Henuriaid, a miloedd sydd yn awr yn llawenhau yn ngoleuni y gwirionedd, gan fod wedi ymwrthod a'u cyfeiliornadau traddodiedig, ac wedi ufyddhau i ordinhadau Tŷ yr Arglwydd, ac wedi derbyn gyda gorfoledd, moliant a diolchgarwch, egwyddorion pur Efengyl Crist. Maent yn awr yn bryderus edrych am waredigaeth i ymuno a bwrw eu coelbren gyda ni yn y dyffrynoedd heddychlawn hyn.

Y cenadon ag ydynt wedi bod yn absennol yn Ewrop ddwy flynedd a rhagor, ydynt gan mwyaf wedi dychwelyd y tymmor hwn, gan fod wedi cael eu rhyddâu trwy eraill a bennodwyd yn ein Cynnadledd Ebrill ddiweddaf. Er fod miloedd o Ewrop yn flynyddol yn caffael eu cartrefoedd yn Utah, etto y niferoedd a gynnyddant oddiallan.

Y dyddordeb cynhyrfiedig yn ffafr, ac i ddysgu y gwirionedd, a dygasedd ei wrthwynebwyr, ni fu erioed yn fwy nag yn yr amser presennol.

Gallu yr Hollalluog Dduw a amlygir yn ngweinyddiadau i weision, ac sydd yn eglur weledig yn Ei law driniaethau gyda chenedloedd y ddaear, yn gystal a chyda Ei bobl, yn gwneuthur y sicrwydd yn ddyblig ddiogel, na ddychwel ei air atto Ef yn wag, nac y gwneir ei addewidion yn ofer. Efe a gynnal y cyflawn, a'r annuwiol a dry Efe ymaith.

Yn Nghaliffornia, y mae y *Western Standard* yn ffyddlon rhybuddio y bobl, o dan alluog ofal a thywysiaeth y brawd George Q. Cannon, yr hwn hefyd a gyhoeddodd Lyfr Mormon yn yr Hawaiianaeg. Mae cyhoeddiad o'r papyr hwnw wedi profi yn ddefnyddiol a haelionus iawn mewn diwygio y dyb gyffredin, trwy weithio dylanwad iachusol dros yr ychydig a geir yn y tir hwnw ag sydd yn ymgeiswyr am wirionedd. Aur yw y greirfa (*shrine*) wrth yr hon y plygant, ac nid oes gan y gwirionedd ag sydd yn deilliaw oddiwrth Frenhin yr Uchel nef, ond ychydig fawrygwyr. Mae y *Standard* beth bynag, yn alluog i gynnal ei hunan, yn fwyaf trwy gynnorthwy y Saint, ac a barha i ddyfod allan cyhyd ag yr ystyrir ef yn fuddiol yn nghynnorthwyo achos y gwirionedd yn y wlad hono.

Mae Ynysoedd Sandwich a'r cenadiaethau Awstralaidd

mewn cyflwr iachus a llwyddiannus. Dysgwn trwy hyfforddiadau diweddar oddiwrth Silas Smith, yr hwn sydd yn bresennol yn llywyddu dros genadiaeth yr Ynysoedd Sandwich, fod y cnydau ar Lanai yn llawer gwell y tymmor hwn nag arferol, yr hyn a fawr hyrwydda ymgasgliad y Saint brodorol ar yr ynys hono, y lle pennodedig. Mae methiant mynych a dinystr eu cnydau, wedi goblygu y genadiaeth rywbeth mewn dyled, ac o ran wedi rhwystro yr amcan yn ymgasgliad y Saint i'r lle hwnw, lle y gallent yn fesurol gael eu hamddiffyn rhag gweithrediadau y cenadwr huriedig a dylanwadau halogedig eraill o eiddo gwareiddiad afreolus. Ond trwy y llwyddiant presennol, cynnorthwy yr Henuriaid ffyddlon, a bendithion parhaus yr Hollalluog, yr Hwn sydd erioed yn gofus o Ei Saint ffyddlawn, yr ydym yn gobeithio ac yn disgwyl y bydd i'r genadiaeth gyfodi yn fuan uwchlaw ei dyryswch presennol. Fe gynrychiolwyd mewn cynnadledd a gynnaliwyd yn Lanai, ar y 24ain o Orphenaf, 1855, 90 o gangenau corfforedig, 4,220 o aelodau, 723 o ba rai a fedyddiwyd o fewn y flwyddyn hono—25 o Henuriaid Americanaidd, a 118 o rai brodorol y pryd hyny yn llafurio ar yr ynysoedd, heblaw offeiriaid brodorol, dysgawdwyr a diaconiaid.

O'r Ynysoedd Cyfeillgar, nid ydym wedi cael cyfrifon boddhaol iawn, o herwydd yr anhawsderau gyda y Llywodraeth Ffrengig, yr Henuriaid a orfodwyd ryw ddwy flynedd yn ol, i adael yr ynysoedd hyny. Y brodyr Addison Pratt ac Ambrose Alexander a bennodwyd i'r genadiaeth hono o San Bernardino, yn eu Cynnadledd Ebrill ddiweddaf, a hwyliasant am yr ynysoedd hyny ar y 24ain ddydd o'r un mis, eithr gorfu arnynt adael yn fuan, ac wedi hyny a ddychwelasant.

Yr Henuriad Farnham, o'r Genadiaeth Awstraliaidd, a diriodd yn y ddinas hon ar yr 21ain o Dachwedd, gan adael llong-lwyth o Saint yn San Bernardino, y rhai, gan amlaf, y disgwylir a ddeuant yn mlaen yn ystod y tymmor canlynol.

Y Brodyr John S. Eldredge a James Graham, gyda 28 o Saint o Awstralia, ar fwrdd y llong *Julia Ann*, a ddrylliwyd gan y môr, gerllaw yr Ynysoedd Cyfeillgar, ar y 4ydd ddydd o Hydr. 1855. Gofidus genym ychwanegu fod pump o bersonau, dwy fenyw a thri phlentyn, wedi eu colli: y gweddill a brin ddiangasant gyda eu bywydau ar ynys anffrwythlawn ac anghyfanedd, lle yr arosasant, gan fyw ar grwban y môr, (turtle), am chwech wythnos. Gwaredwyd hwynt o'r diwedd o'u henbyd gyflwr, gan gadben y *Julia Ann*, yr hwn a hwyliodd dros dri chan milldir mewn bad agored i ynys gyfaneddol, ac a brynodd lestr arall, eithr gadawyd hwynt ar y pentwr hwnw ac ar Ynysoedd Sandwich heb ddim moddion i ddilyn eu taith yn mhellach; eithr wedi hyny hwy a diriasant ar y tueddau Gorllewinol, ar eu ffordd i Seion.

Heb daflu golwg ar swyddogion y Julia Ann, yr oll a ba rai y dywedir yn dda am danynt gan ein brodyr, neu hyd y nod ar

gadernid a morawl deilyngdod y llestr, yr hon y deallwn oedd yn dda ac yn newydd, etto dymunwn ragrybuddio ein Henuriaid, nid yn unig y cyfryw yn Awstralia, ond yn yr holl wledydd tramor i beidio caniatau pryder gormodol i ymfudo ac ymgasglu gyda'r Saint i'w gwneud yn ddiofal a dibris am fath a chyflwr y llestr yn mha un y moriant, neu am gymmeriad y swyddogion a'r dwylaw ar y bwrdd. Dyma yr ail enghraifft o lestri yn hwylio o'r genadiaeth hono â Saint ar y bwrdd, heb gyrhaeddyd eu bwriad. Yn yr achos arall nid oedd dim bywydau wedi eu colli, er i'r llong fod wedi ei gosod mewn porthladd, lle y cafodd ei chondemnio, a'r Saint, ar ol fod wedi talu eu mordaith i'r gororau gorllewinol, i gael eu gadael ar Ynysoedd Sandwich. Mae yn fater teilwng ei gof lyfru, ac yn ffynnonell o lawenydd mawr a boddhad i ni, mai yn ein holl ymfudiadau tramor, y rhai hyny yw yr unig golliadau ar fôr, o'r cymmeriad hwnw, a ddarfu ddygwyddo.

O Penrhyn Gobaith Da, Deau Affrica, y mae cwmpeini o Saint ar eu ffordd tua'r lle hwn, y blaenffrwyth o lafurwaith y Brodyr, Jesse Haven, William Walker a Leonard I. Smith, y rhai yn amlwg a fendithiwyd gan yr Arglwydd yn mhlaniad y gwaith yn y rhan bellenig hono o winllan yr Arglwydd. Mewn Cynnadledd a gynnaliwyd yn Port Elizabeth, yn mis Awst, 1855, cynnrychiolwyd tair o gynnadleddau, a chwech o gangenau, yn cynnwys 126 o aelodau. Y brodyr yn y genadiaeth wedi deffroi yr amrywiol gangenau, ac urddo Henuriaid ffyddlon i fyned yn mlaen â'r gwaith, ydynt, ynghyd gyda chwmpeini bychan, ar eu ffordd adref, oddieithr y brawd Leonard I Smith. yr hwn a diriodd yn y ddinas hon ar 31ain o Fai diweddaf.

Mae cenadon yr India Ddwyreiniol oll yn awr wedi dychwelyd heb effeithio ond ychydig yn ngwaredigaeth y bobl dywyll nosawl hyny. Mor wirioneddol y daethant yn "ymgyssylltiedig a'u heilunod" ac y gadawyd hwy gan yr Arglwydd, hyd y nod yn debyg i gyn frodorion America, yn ddeddf iddynt eu hunain, hyd oni ymwelo yr Arglwydd a hwynt a iachawdwriaeth mewn gallu mawr a gogoniant.

Oddiwrth fynegiad y gynnadledd a gynnaliwyd yn Copenhagen, dysgwn drwy y brawd John Van Cott, fod dros ddwy fil o Saint wedi ymfudo o'r genadiaeth hono; ac y mae yn aros etto dros bedwar cant ar ugain yn bryderus edrych am waredigaeth. Er fod yr Henuriaid yn y genadiaeth Scandinafiaidd, ac mewn amrywiol leoedd yn yr Almaen, yr Eidal, Switserland, a Ffrainc, yn herwydd y drwgdybiau ac anghydoddefedd y Llywodraethau hyny, wedi cael eu taflu yn fynych i garchar, a'u halltudio o le i le, etto darfu i waith yr Arglwydd ennill sefydliad yn y gwledydd hyny, yr hyn nis gellir yn awr ei ddiwreiddio. Pan y mae ein henuriaid yn cael eu halltudio o un deyrnas, ant i un arall, gan ddysgu etto i'r bobl ffordd bywyd ac iachawdwriaeth. Fel hyn, darfu i elynion y gwirionedd, trwy eu tra-anesmwythder i lethu, yn ddiarwybod fod yn foddion i wasgaru yr

efengyl, a pheri i fara y bywyd gael ei fwrw ar y dyfroedd, yr hwn a gesglir ar ol llawer o ddyddiau.

O'r Ynysoedd Prydeinig, cawn y cyfrifon mwyaf siriol am gynnyddiant y gwaith. Dysgwn trwy y brodyr F. D. Richards, Daniel Spencer, Cyrus H. Wheelock, ac eraill a ddychwelasant yn ddiweddar, wedi cael eu dilyn yn llywyddiaeth y genadiaeth hono gan y brodyr Orson Pratt, Ezra T. Benson, a James A. Little, er yr ymfudiad mawr blynyddol o draethau Prydain, nad yw yn cadw camrau a'r cynnydd blynyddol a mynediad yn mlaen y gwaith yn y tiroedd hyn.

Yn y Talaethau Unedig a'r Swyddi Prydeinig, yr ydym hefyd yn clywed am ddyddordeb cynnyddol yn tarddu i fyny ar ran y gwirionedd, ac am waith Duw yn awr wedi ei gyflawn sefydlu ar y ddaear.

Tystiolaeth yr holl henuriaid yw, fel tra y mae llwyddiant hynod yn cydfyned a'u llafurwaith, yn yr holl wledydd hyn, yn ddilynedig gan ysbryd a gallu yr Arglwydd yn yr oll o'u gweinyddiadau, fod y gwrthwynebiad hefyd yn cynnyddu yn gydradd gyfartal. Mewn gwirionedd, gosodir gerbron nad oedd casineb dwfn-wreiddiol y drygionus tuag at waith Duw, erioed yn fwy nag yw yn awr, ac yn ymddangos yn cynnyddu yn ddianwadal gyda chynnydd y gwaith. Eithr nis gall eu gwrthwynebiad rwystro y gwaith hwn, canys y mae o'r nef; ac os bydd Saint y Goruchaf Dduw yn ffyddlon, diwyd, ac unol, byddant yn wastadol yn alluog i lywio dylanwad a gallu, yr hyn nis gall neb ei wrth ddywedyd na'i wrthsefyll.

Mewn canlyniad i absennoldeb amserol y brawd Erastus Snow, a marwolaeth ganlynol ein hanwyl frawd Orson Spencer, yr hwn a adawodd mewn gofal, y *Luminary*, cyhoeddedig yn St. Louis, a adawyd heibio; ac er i'r brawd Snow oddiar hyny ddychwelyd i faes ei lafur-waith, meddyliwyd hyd etto yn ddoethineb i beidio adgymmeryd y cyhoeddiad hwnw.

Ystyrir fod y *Mormon*, gan gael y nawdd cynnyddol yr hyn fyddai i gynnorthwy a dylanwad noddwyr y *Luminary* roddi iddo, y gallai ddyfod yn ddefnyddiol i'r Saint, fel cyhoeddiad y ddau bapur, a chael ei gynnal lawer yn well.

Yn marwolaeth y brawd Spencer, yr ydym wedi sefyll dan golled yr hyn, er yn alarus i ni, ein ffydd a'n cymhell i ganiatau, sydd i'w rhagorach elw a dedwyddwch. Efe a hunodd mewn ffydd yn Iesu, ar y 15fed o Hydref, 1855, yn Ninas St. Louis, gan fod yn absennol oddicartref yn ngwaith y genadiaeth, yr hwn a bennodwyd iddo yn Nghynnadledd Ebrill, 1854. Ein hanwyl frawd a aeth i brofi gwireddau byd yr Ysbryd, yn nghyflawn ffydd ein crefydd santaidd, ac ymddiried y bobl; ac er nas gall ein geiriau o ganmoliaeth gyrhaeddyd i'w sirioli a'i gefnogi yn ei lafur cychwynol yn mlaen, etto nis gallwn ymattal rhag dwyn ein tystiolaeth i'w gywirdeb a'i uniondeb dianwadal, ei lafur defnyddiol, eithr pwysig, bob amser yn profi mawr ddiysgogrwydd

cymmeriad, ac i ei gywirdeb digyfaddawd a diymollwng Joseph ac i ei frodyr.

Yr ydym yn galaru ei golled er mwyn ein hunain, a'i gyfeillion, a phwy nad oedd yn gyfaill iddo a'i hadwaenodd ef? Ond yr ydym yn llawenhau fod campwr ffyddlon a galluog arall y gwirionedd wedi myned i gynnorthwyo yn ngoruchwylion yr Iesu a Joseph y tu draw i'r llen.

Fe ddaeth hefyd ein dyledswydd boenus i gofnodi marwolaeth ein hanwyl frawd, Jedediah M Grant, marw-res a chychwyniadau angladdol yr hwn a gyhoeddir yn y papur am y dydd hwn. Yn yr oruchwyliaeth drallodus hon o eiddo rhagluniaeth, yr ydym yn teimlo fod yr Arglwydd wedi cyffwrdd a ni "mewn man tyner;" ond yr ydym yn gwireddu ei fod Ef, yn ei annherfynol ddaioni, yn alluog ac ewyllysgar i wneud yn dda ein colled, ie, yn fwy helaethlawn megis ag y tynwn yn agos atto Ef, a byw i ein crefydd santaidd.

Er ei fod wedi myned i faes llafur arall a mwy helaeth, wedi aeddfedu yn y wybodaeth o Dduw, ac yn effeithiol ac yn ffyddlon wedi cyflawnu ei waith ar y ddaear, etto ei fynych gynghorion, ei danllyd hyawdledd, ei sel a'r pryder ddarfu iddo amlygu dros iachawdwriaeth Israel, ydynt wedi eu hargraffu yn rhyw annileadwy ar ein meddyliau i eu hanghofio yn rhwydd. Bydded i ni, am hyny, arddangos ein parch i goffadwriaeth ein hymadawedig ond anwyl gyfaill a brawd, trwy gofio ac ymarfer ei eirchion, a chydymgystadlu, mor bell ag y mae yn ein gallu, ei rinweddau.

Yn herwydd yr anhaelder dall bleidiol ac annghydoddefedd cymaint nifer o'r genedlaeth farchgodol, offeiriadol hon, pob attalfa a rhwystr a all fod sydd yn cael eu taflu ar y ffordd, gyda golwg i attal cychwyniad y gwaith, a chau fyny ffordd y rhai hyny sydd a'u dymuniad mwyaf taer i adael eu tystiolaeth ymadawol gyda'u hen gymmydogion a'u cydnabyddion mewn bywyd, a dyfod tuag adref i Seion. Mae efengyl iachawdwriaeth, yr awrhon, fel yn yr hen amser, yn caffael dyfodfa parotach at y tlawd nag at y cyfoethog, yn rymus eglurhau a chadarnhau y gwirioneddolrwydd o nodiad ein Iachawdwr, "mor anhawdd yr â y rhai sydd a golud ganddyni i mewn i deyrnas Duw." Y tlawd, mathredig gorthrymedig oesau, y rhai ag y mae cor-arglwyddi pendefigaeth, am ganrifoedd, yn barhaus wedi llethu a sawdl haiarnaidd trais-awdurdod, sydd yn teimlo, pan y mae goleuni gwirionedd a iachawdwriaeth yn treiddio i eu meddyliau, cyffroad newydd i geisio drachefn gwaredu eu hunain a'u hiliogaeth o gaethiwed anwybodaeth, drygionu, cyfeiliornad, coel grefydd, a gormes, yr hyn cyhyd a'u cadwynodd hwy a'u tadau. Hwy a ysbrydolir gan oll ddyddyfnol ddymuniad i godi uwchlaw, a thaflu ymaith anmhuredd a ffieidd-dra, tywyllni, llygredigaeth, a gwaeth na thywyllwch Aiphtaidd Babilon ddrygionus, ac ymheulo yn haul oleuni egwyddorion pur, ag sydd yn deilliaw oddiwrth Frenin y Nef; i lawenhau gyda'r Saint yn Seion, a dyfod yn gyd-weithwyr yn yr achos hwnw, yr hwn,

wedi eu gwaredu, a'u galluoga hwynt i gyfranu eu rhan yn ngwaredigaeth eraill, y rhai sydd etto mewn rhwymedigaeth anwiredd a bustl chwerwedd.

Mae y dymuniad byth gyfodawl, byth gynnyddawl hwn, am ymgasgliad gweddillion Israel, yn perthynu i holl Saint Duw, ag sydd yn byw eu crefydd, ac yn mwynhau bendithion cyfoethog yr Ysbryd Glân. Mae yn nghalon pob sant ffyddlon, eu gweddi barhaus at yr Hollalluog Dad, i eu galluogi, nid yn unig i gyhoeddi Efengyl Crist i'r rhai hyny ag sydd yn eistedd mewn tywyllwch, ond i gasglu allan yr onest ei galon, sef Israel Duw, o'u hir wasgariad, a'u cynnorthwyo hwynt mewn dyfodiad i wybodaeth o Arglwydd Dduw eu tadau, fel yr ymgyfrannogont yn nghyfeillach y Saint, a chael etifeddiaeth heddychlawn yn y dyffrynoedd gorfodogol hyn. I'r dyben hwn, a chwblhad pellach y gwrthrych hwn, y cyfeiria yn ddibaid ymdrechiadau Cwmpeini y Drysorfa Ymfudol Barhaus, er ymfudiad yr onest a'r tylawd teilwng, y cyfryw ag sydd yn dymuno gwasanaethu Duw, a chadw ei orchymynion Ef, yn gyflawn o rinwedd, ac uniondeb tuag at Dduw a'u brodyr. Y rhai hyn yw y rhai hyny ag ydym yn ewyllysio i waredu o orthrymder Babilon ddrygionus, bywiol weithrediadau y rhai y mae y balch a'r galluog yn fathru allan, ar y rhai y mae tra-awdurdodaeth, dallbleidiad, anwybodaeth, a choel-grefydd y byd, yn crogi yn gyffelyb i hunllef, ac eu dwyn hwynt i dir lle y mae dynoliaeth, er ei chaffael mewn llwmder, yn cael ei pharchu, a lle y gall Duw y Nefoedd dderbyn y gwriogaeth (*homage*) dyledus oddiwrth ddyn i ei Wneuthurwr; lle y gall rhyddid a braint cydwybod gael ymgeledd, llafur onest a ffyddlon gyfarfod a chyflawn gyfwerth, a lle y mae goleuni dadguddiad, a gallu yr Offeiriadaeth santaidd a thragywyddol yn cadw gwrthwynebwr y gwirionedd mewn ymchweliad, a rholio yn ol y lleni o gyfeiliornad a thywyllwch, pechod a marwolaeth, y rhai cybyd a enhuddiasant y ddaear.

Mae gweithrediadau y tymmor wedi arddangos fod y Saint, wedi eu llanw a ffydd ac a'r Ysbryd Glân, yn gallael cerdded draws y gwastadedd, gan dynu eu lluniaeth ar law-geirt. Gwna ymbrawf y tymmor hwn, wrth gwrs, help i ni i ddiwygio mewn gweithrediadau dyfodol; eithr y mae wedi ei brofi yn deg, ac wedi profi yn hollol lwyddiannus. Y daith gyfangwbl o ddinas Iowa, y pellder o dros dri chant ar ddeg o filltiroedd, fel hyn a gyflawnwyd mewn llai o ddyddiau teithiol nag y fu erioed gan ychain o berdroelfeni, a chyda llawer mwy o rwyddineb i'r teithwyr. Y cwmpeini hyn, gyda'r eithriad o'r ddau olaf, y rhai a gychwynyn rhy ddiweddar yn y tymmor, a wnaethant yr ysgafn-daith o afon Missouri mewn ychydig yn llai na dau fis, a gellesid ei wneud mewn llai o amser, pe na buasent wedi eu rhwystro gan yr ychydig weddeuau ag oedd yn cydfyned a hwynt. Yn hyn y gwireddwyd ein dysgwyliadau, a'r draul ddirfawr a'r drafferth ag sydd yn dilyn y gangen hon o drafnidaeth mewn gradd dda a ochelwyd.

Y cyfrifiadau o weithrediadau y flwyddyn hon sydd etto heb eu cwblhau, yr ydym yn bresennol yn analluog i osod gerbron y swm cywir o'r gost yr aeth pob ymdeithydd dano; ond yr ydym yn gwybod y rhaid ei fod yn llawer llai na chyn hyn, ac y gellir etto ei leihau yn y dyfodol.

Mae y saint ag a ddaethant i mewn y ffordd hon wedi bod yn iachach, mwy boddlon a dedwydd, ac wedi ymdrin a llai o drallod a blinder, na'r rhai hyny a gweddeuau; ac, yn mhellach, wedi arddangos i'r byd eu ffydd dyfal bara a'u gweithredoedd da.

Hwynthwy a ddangosasant ewyllysgarwch i ereill gael eu cynnorthwyo yn ogystal a hwy eu hunain, trwy ddefnyddio mor ychydig ag sydd yn bosibl o foddion y Cwmpeini at eu hymfudiad eu hunain. Dangosasant dueddfryd i gydsynio ag unrhyw ammodau, fel ag y gallasai eu hymfudiad gael ei gwblhau heb luddias hyny ag y mae miloedd pryderus yn edrych at yr un ffynonnell am gymhorth.

Er, yn y siampl gyntaf, fod tynu llaw geirt llwythedig mor hir bellder, wedi ymddangos i rai yn afrwydd ei gwblhau gan y brodyr, ac yn neillduol gan y chwaeriorydd, etto profodd yr yr effaith yn llawn mor rhwydd, ac yn wir, yn rhwyddach na'r drefn a arferwyd hyd yn hyn; a'r benywod a oddefasant y daith yn hollol cystal, mewn cymhariaeth, a'r gwrywod.

Yr ydym wedi cymmeryd trafferth i gasglu ffeithiau ar y pwnc hwn, gan ei fod yn ymbrawf y tymmor hwn. Yr anturiaeth, gan fod wedi profi mor enwog lwyddiannus, a ddaw i mewn yn ehelaeth i ein gweithrediadau ymfudawl.

Cymmered y Saint wroldeb, a buddiolent eu hunain a'r fraint o ymgasglu i'r lle hwn tra y mae y ffordd yn agored o'u blaen hwynt, canys daw yr amser pan pwy bynag a fyno ymgasglu i Seion, y rhaid iddo ffoi a'i gwd ar ei ysgwydd, neu o dan ei fraich. Yn wir, hwy a ddeuant fel haid o golomenod i'r ffenestri yn gymhariaethol lwm a noeth, heb fwyd na dillad, gan ddianc, fel pe bai, a chroen eu dannedd, oddiwrth gyfiawn ddigofaint Duwdod tramgwyddedig, a dywelltir ar, ac a â dros genedlaeth ddrygionus a godinebus.

Tra yr ydym, gan hyny yn teimlo i gydlawenychu ein hunain, a'n brodyr a'n chwaeriorydd ar ganlyniad dedwydd yr ymbrawf hwn, dymunem gyfeirio ein goruchwylwyr ac eraill yn perthynu, at ychydig awgrymiadau a dynwyd oddiwrth brawf y tymmor hwn, mewn ffordd o welliant.

Yn y lle cyntaf, RHAID i ein hymfudiad gychwyn yn gynnarach yn y tymmor, a'r trefniadau angenrheidiol a RHAID eu gwneud a chael eu cwblhau wrth yr amser y tiriant ar y terfyn gorllewinol, ac ni ddylid goddef dim un cwmpeini i adael afon Missouri yn ddiweddarach na'r dydd cyntaf o Orphenaf.

Rhaid iddynt gael eu darparu a llaw geirt cryfach, ac ymdrechu felly i drefnu, fel ag i gael y baich ar bob cart i amrywio mor ychydig ag sydd bosibl yn ystod y daith. Na chychwyner gyda'r fath lwythi trymion, a'u hysgafuhau i fyny mor fuan, fe

fyddai yn well i gychwyn gyda llwythi ysgafnach, ac yn raddol eu cynnyddu hwynt, fel y byddo y brodyr yn dyfod yn fwy cynnefin a'r gwaith. Gallai hyn gael ei gyflawni trwy anfon ychydig weddeuau allan gyda lluniaeth, ychydig ddyddiau yn mlaen ar y cwmpeini, i gael ei gymmeryd ar y llaw gart fel y delont yn mlaen, pryd y gallai gweddeuau ddychwelyd.

Fe ddylai yr holl ymfudwyr ddarparu eu hunain â chynnorthwy dros ben o esgidiau da.

Dylai both neu fwl-droell y cart fod yn wyth modfedd o hyd a saith modfedd trwyddo yn y canol. Dylai y blychau (*boxes*) yr yr ysgwydd fod yn 2¼ modfedd, a'r blychau blaen yn 1½ modfedd mewn tryfesur.

Fe ddylai gael ei ystyried yn oreu i gael haiarn bwrw (*cast*) yn freichiau, dylent fod yn 1¾ modfedd o drwch yn yr ysgwydd, 3¼ yn y blaen. Dylai yr echelau coed (*axles*) gael ysgaing haiarn neu ddur, ac ol-droell pedr troedfedd ar wahan. Rhaid i'r coed fod or ansawdd goreu am wydnedd, a'u tymheru yn dda. Mewn golygiadau ereill, gallant gael eu cyfansoddi megis o'r blaen.

Dylai yr hen iawn ar egwan gael eu dwyn mewn pedroell-peni mewn rhes wahanol.

Ar gyfrif eu penach prawf, bydded i Henuriaid da, a ffyddlon o'r Diriogaeth hon gael gofal y cwmpeini. Trwy sylwi ar yr awgrymiadau hyn, credir y bydd yr ymfudiad, gydag un wedd o bedwar neu chwech mulyn i bob dau cant o bersonau, i fod yn llawer mwy hyrhwydd wrth lai etto o draul.

Cawsom y pleser, yn ein Cynnadledd Hydref, o gyfarfod â'n brodyr, Franklin D. Richards, Daniel Spenser, John Vancott, Goerge D. Grant ac eraill or cenadon dychweledig y rhai a fuont yn hir yn absenol, oddiwrth y rhai y daethom i wybod cyflwr a sefyllfa un cwmpeini ymfudol etto ar y gwastadedd.

Nyni yn ddiathreg a gymmerasom fesurau effeithiol o anfon iddynt gynnorthwy a help ag, dyladwy i ddiweddarwch y tymmor, oeddynt yn ofyn er eu galluogi i gyrhaedd y dyffrynoedd hyn, cyn y byddai i eira a gauaf gau eu ffordd; a rhoi eu cychwyniad yn amhosibl. Hwn oedd y gorchwyl cyntaf a ragbrynodd sylw y Gynnadledd, ac a sugnodd braidd hollol sylw llawer o'n dinasyddion. Eithr ychydig a wneuthpwyd oddigerth anfon gweddeuau a help er eu cymhorth, ac etto nid ydynt oll wedi cyrhaedd, er hyny dysgwylir y gweddill mewn ychydig ddyddiau.

I gwmpeini yn ymfudo i'r lle hwn, dymunwn ddywedyd gair, mewn ffordd o gynghor. Symuder bob dydd, hyd y nod os nad yw ond ychydig filltiroedd; y mae hyny yn llawer gwell na thrigo mewn un gwersyllfan. Ar y Sabbath gwedi cyfarfod a gorphwys dros ran o'r dydd, fe fydd yn well yn gyffredinol i wneyd hynt fer. Symuder yn mlaen bob dydd, os ewyllysiwch gyflawnu eich taith mewn amser dyladwy.

Gall angenrheidrwydd hollol gyfiawnhau arosiad ychydig ddyddiau mewn lle, ond ni ddygwydda hyny ond yn anarferol, a dylai

i

gael ei ochelyd cyn belled ag y bydd o yn bosibl. Mae yn llawer gwell, i'r gweddeuau a'r bobl, i gadw teithio, hyd oni fyddo y daith wedi ei chwbl gyflawnu.

Yr ymfudiad trwodd a arweinir gan ein goruchwylwyr teithiolo dan gyfarwyddid cyffredinol y goruchwylwyr llywyddol yn Lerpwl, o'r cyfryw le y cychwyna, eithr y dderbynia gynnorthwy a chyd-weithrediad ein goruchwylwyr llywyddol yn Nghaerefrog Newydd a St. Louis. Yr holl ymfudiad arall a dderbynir ac a drefnir gan ein goruchwylwyr yn y Talaethau Unol.

Dymunol yw gwneyd ychydig sefydliadau ar hyd llinell y daith: cyfarwyddwyd ein goruchwylwyr yn Florence a St. Louis yngbylch hyny.

Hyderwn gan hyny, y bydd y brodyr a'r chwaeriorydd yn ddigonol ofalus am lesiant cyfredin achos Seion i ateb yn barod-ol ein dymuniadau a gofynion ein goruchwylwyr, y rhai yr ymddiriedwyd y materion hyn. Unrhyw ymadawiad pwysfawr oddiwrth ysbryd yr hyfforddiadau hyn a ystyrir yn achos o ddad-gymdeithasiad o'r Eglwys, neu ddifuddiad o swydd.

Mae yr Henuriaid Orson Hyde etto yn llywyddu yn swydd Carson, Utah, a'r Henuriaid Amasa Lyman, a Chas. C. Rich, yn San Bernardino, Califfornia.

Yr Henuriaid Orson Pratt ac Ezra T. Benson, ydynt dros y genadiaeth Ewropaidd, ac yn cyhoeddi y *Millenial Star* yn Lerpwl Lloegr.

Yr Henuriad John Taylor, sydd yn llywyddu yn y Talaethau Unol, ac yn cyhoeddi y *Mormon* yn N. Caerefrog Newydd. Mae y cyhoeddiad hwnw yn cymmeradwyo ei hun i nawdd ac ystyriaeth ffafriol y Saint, yn cael ei dywys yn alluog ac yn gweithio dylanwad iachusol iawn yn niwygiad y dyb gyffredin, ac yn amddifyniad i'n pobl rhag enllib, camdriniaeth a chamddarluniadau y byd.

Yr Henuriad Erastus Snow, sydd hefyd yn y Talaethau Unol, yn llywyddu yn St. Louis, yn cynnorthwyo yn yr ymfudiad &c, Yr Henuriad George A. Smith, ag sydd yn un o'r cynnrychiolwyr etholedig gan Eisteddiad y Gymanfa Wladwriaethol a'r bobl i gyflwyno ein Ffurf-lywodraeth a'n cais am dderbyniad megis Talaeth i'r Undeb, sydd wedi myned i Washington i gyflawnu y y genadiaeth hono.

Yr Henuriad Parley P. Pratt sydd hefyd yn y Talaethau Unol ar ymweliad amserol, gan fwriadu dychwelyd yn y gwanwyn.

Yr Henuriad Wilford Woodruff sydd yn y ddinas hon, yn ymwneud yn swyddfa yr hanesydd.

Yr Henuriad Lorenzo Snow sydd yn llywyddu yn Box Elder, yn y diriogaeth hon; a'r Henuriad Franklin D. Richards sydd gartref yn y ddinas hon, wedi newydd ddychwelyd o'i genadiaeth i Ewrop.

(*Parhad ar tud.* 145.)

## LLYTHYR ODDIWRTH CADBEN JONES.

Dinas y Llyn Halen Mawr, Hydref 31, 1856.

Y Llywydd D. Daniels,

Fy anwyl Frawd—Yn eich tŷ, eich gwraig anwyl wrth fy mhenelin, ysgrifellat y llinellau hyn: barnwch fy nheimladau! Cyrhaeddais yma yn fyw, wrth gwrs, neu, o leiaf, yn hanner byw, wythnos i heddyw, a chefais fy hun ar fyrder wedi fy amgylchynu â'm teulu anwyl, a chyfeillion mynwesol lu yn fy nghroesawu adref mewn amryw iaith yn garedicach na'm haeddiant na'm dysgwyliad

Barnwch etto ein hymgomiadau: yr oll a ddywedaf yn awr yw, fod enw a choffawdwriaeth y Br. Daniels yn uchel, aml, a pharchus gan yr oll, eithr nid mwy hiraethog neb na'm hunan coeliwch!

Y *chit chats* cyfeillachol drosodd boreu Sul a ddaeth. a dychymygwch etto pa fodd y teimlwn i fach pan adleisiai yn muriau y Tabernacl god dog y geiriau canlynol—"Elder Dan Jones is requested to come to the stand and to preach." Ar hyn gallasech weled pump neu chwe mil o lygaid yn dilyn ar ol dyn bach a ymgropiai o'u canol yn ostyngedig i atteb yr alwad annysgwyliedig nes yn mlaen ymwthiodd a chafodd ei hun yn sengu lle y sengodd traed santeiddiach prophwydi, apostolion, a goreuon byd—teimlai i ddiosg nid yn unig ei esgidiau, ond ei hosanau hefyd yn nghanol y fath ddynion yn sengu ar y fath le, tra nefoedd yn agored uwch ei ben, tafod pwy ni lefarai? Pa galon na thoddasai dan bwys y fath nefol wres? Eithr ofer ceisio dweyd ond hyn, *All right*, pob peth yn dda. Da gan bawb fy ngweled yma, eithr gwell genyf fi nag oll weled fy hun yn y lle nefolaidd, yn mhlith y bobl rhinweddol anghydmarol hyn.

Eithr digon o'm hanes fy hun; efallai y gwnaethai llai yr un dyben; gwell genych efallai glywed hanes y cwmnioedd Saint, &c. Deallaf yn awr fod y chwaer Daniels wedi ysgrifenu atoch gyda y mail hwn, ac mae hi yr awr olaf gyda ninau braidd cyn iddo gau, ac ni fanylaf am danynt hwy.

Ysgrifenais lawer o lythyrau yn ol atoch, do, bob cyfle, o'r Plains, yn hysbysu hynodion ein hanesion. Yn fyr, rhag na ddaethant,, dywedaf i mi lafurio am dri mis yn y gwersyll, Iowa, gyda'm brodyr, hyd oni anfonwyd yr holl gwmnioedd o'n blaen, ac yn olaf un dybynodd arnaf i lywyddu dau gwmni o wageni, sef cant, a phan ar ol dysgu, ie, *dysgu* cystal dysgu gwylltfilod i deithio ugain milldir y dydd, galwyd fi i'w gadael a dyfod gyda F. D. Richards a deuddeg ereill cenadon yn ol 50 neu 60 milldir y dydd, hyd nes myned heibio yr holl gwmnioedd, ond y tri hand-carts blaenaf, y rhai a gyrhaeddasant yma o'n blaen, y Cymry yn drydydd, ac mewn llai o amser na'r oll.

Mae y cynllun llaw-gertol yn ateb y dyben yn well na'r dysgwyliad, a llawer yn dweyd mai gwell ganddynt ddyfod

felly etto na chyda wageni. Cawsant well iechyd nag arferol ar y ffordd; eithr gofidus yw fod amryw drwy fwyta gormod o lysieu, moethau, ffrwythau, a bwydydd bras ac anghyfarwydd yr hwn a gariwyd yn rhad iddynt wrth y llywthi wageni, gan Saint y Ddinas, wedi effeithio yn farwol ar eu cyfansoddiadau. Yn mhlith eraill, clywais am y br. a'r chwaer Brookes, o'r Gogledd; Owen Jones, Towyn; John Roberts, Ffestiniog: Wm Jenkins, Caerdyf; Edward Phillips, Twynyrodyn; Henry Jenkins, Merthyr; ac ychydig ereill na wn yn awr. Gofalodd yr Esgobion am bawb, fel nad oes neb heb gartref cysurus. Dysgwylir tua dwy fil i mewn etto yn fuan ag ydynt ar y ffordd yn gwmnioedd--mae rhai ar bwys. Dywedwch o Dan hyd Beersheba fod dros hanner cant o weddeuau ceffylau wedi cychwyn oddiyma i gwrdd a'r Saint cyn pen tridiau wedi i'r newydd am eu hangen gyrhaedd, a thros 12 tynell o fiawd heblaw pethau ereill yn gyfattebol.

Y Sul diweddaf galwyd drachefn am ychain i fyned, ac yn mhen ychydig fynydau addawyd tua cant a hanner o weddeuau i fyned boreu drannoeth i'r un perwyl. Dyna i chwi fywyd mewn Mormoniaeth yma!

Mae y tywydd yn go oer yma, ac mae eira oddiyma i Green River, nad beth am yn mhellach; etto mae digon o ffydd a gweithredoedd gan y miloedd Saint hyn i waredu yr olaf rhag ei oddiweddu gan yr eira.

Yr ydwyf fi a'm brodyr a ddychwelasom o'n cenadiaethau wedi ein happwyntio i bregethu a chynnal cymmanfaoedd, drwy yr holl sefydliadau, gan ddechreu ar y ddinas hon, ac i beidio ymattal hyd nes byddo pob sefydliad, dinas, tref, teulu a pherson yn llawn o'r tân nefol yn ffaglu mewn grym neu yn encilio o blith y sawl a fyddant felly.

Mae rhyw ysbryd diwygiadol anghydmarol wedi cydio yn y Saint—y Llywyddion yn gyntaf; a'r penderfyniad yw yr ysgymunir y sawl na fydd byw ei broffes yn mhob peth. Gwae y rhai esmwyth arnynt a'r drygionus yn Seion, medd pawb yn awr; canys nid oes le iddynt mwy. Ysbryd Duw sydd fel tan yn puro ac yn difa pob noddfäau trawsder, a choeliaf mai yn fuan y gwelir gwenith purach yn llawr dyrnu Seion bur galon nag a welwyd erioed o'r blaen. Duw Israel a'n cynnorthwyo i'w ddwyn oddiamgylch yn fuan a thrwyadl yw'm gweddi.

Mae y ddinas hon wedi cynnyddu yn rhifedi a maintioli ei hadeiladau, fel nad adwaenwn mo honi braidd pan ddychwelais, Mae yr amneddau mwyaf a adwaenech chwi yn nghudd dan gysgod rhai mwy nes yr ewch ar eu pwys.

Hyderaf yn ol yr ateb a gefais gan y Llywydd Young pan yn siared am danoch chwi a'r Genadiaeth Gymreig, y cewch *reinforcement* o'r *mountaineers* hyn yn llawn o'r *mountain fire* i'ch cynnorthwyo i danio a goleuo Cymru. Mae efe yn cofio attoch a llu eraill rhy aml i'w henwi yn awr, ond cewch weled cynnifer o honynt yna ag a allaf fi helpu i'w cychwyn.

Cofiwch fi a'm teulu yn garedig at fy holl gydlafurwyr y'n gyda chwi, ynghyd a'r holl Saint a'ch carant chwi a'ch gwaith. Fy nymuniad yw y bendithia Duw eich bendithwyr, ac y gwywa y fraich a godir i'ch herbyn; a roddo i chwi a'ch Cynghorwyr anwyl, gyda'm cofiant, râs yn helaethach o hyd, ac a'n hachubo oll, yn nghyd a ffrwyth ein llafur, yn ei deyrnas nefol. . .

Fy nghofion at bawb a holant am danaf. . .

Gweddiau y Saint ffyddlon a deilyngwyf ac a gaffwyf fi a chwithau, fy hynaws Frawd, fydd byth fy ngweddi. Amen.

A bythol parhaf eich cyfaill diledrith,

D. JONES.

[Roddasom y llythyr hir ddysgwyliedig uchod o flaen y cyssodydd mor gynted ag ei cawsom. Dilys y llawenha y Saint, fel ninnau, i glywed oddiwrth ein hen gadben, a deall mai lle bynnag y byddo, yn ymwneyd a'r un gorchwyl pwysig y mae o hyd, sef gwneuthur ei ran egniol i wthio gwaith ein Duw yn mlaen. Hir oes a iechyd iddo barhau felly. Da fuasai genym pe cyrhaeddasai ei roesawus lythyr yn nghynt.—GOL.]

## HYSBYSIADAU, &c.

SYLWED Y LLYWYDDION nad doeth ydyw gwerthu traethodau y gyfres newydd, oherwydd eu hanamldra a'r cyssylltiad sydd rhyngddynt a'u gilydd. Na werther hwynt i'r byd ond ar yr ammod o iddynt dderbyn y gyfres, ond gwerther traethodau D. Jones a J. Davies fel y myner. Na chadwer unrhyw draethodau ar law, eithr ar gylchrediad parhaus fel y cyfarwyddwyd o'r blaen.

Yr ydym yn cadw nifer digonol o'r traethodau newyddion ar law, erbyn y gorphenir y gyfres, i'w rhwymo er diwallu llyfrgelloedd y Saint.

LLYTHYR y brawd D. E. Jones ar ddechreu y rhifyn hwn sydd atebiad cyflawn i amrywiol ofyniadau ac achwyniadau a gawsom—*drych* cywir ydyw, craff syller ynddo rhag fod rhyw rai wedi gwneuthur yn gyffelyb i'r glowr hwnw a ymolchodd yn drwyadl hyd at ei wyneb, yr hwn a anghofiodd; gwisgodd ei ddillad parch, ac aeth i syllu yn y drych—barner ei syndod!

EPISTOL y Brif Lywyddiaeth a'n gorfoda i wneuthur attodiad i'r rhifyn hwn, fel y galler ei ddarllen yn bwyllog manwl, a thrwyadl yn y cyfarfodydd.

CYNNWYSIAD.




ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 10.] MAI 2, 1857. [CYF. X.

## HANESION EGLWYSIG CARTREFOL.

YN herwydd diffyg lle yn yr UDGORN amddifadir ein darllenwyr o gynnwysiad dyddorol llythyron brodyr diwyd a ffyddlon ag ydynt yn llawn o dân yr Arglwydd yn taranu diwygiad ffordd y cerddont.

Roddwn ychydig ddifyniadau :—

O Gynadledd Brycheiniog ysgrifena yr Henuriad James Taylor "ei fod wedi myned trwy y Cangenau yn nghwmpeini yr Henuriad J. Thomas, a'r mwyafrif o dai y Saint, gan lwyddo yn mhob cynnyg i gael y Saint i ufyddhau i ammodau y Diwygiad gyda pheth trafferth gyda rhai, ac ychydig aelodau newydd wedi eu bedyddio." Aeth oddiyno i Gynnadledd Sir Fynwy i ymwneyd a'r un gorchwyl dymunol gan gael llwyddiant, ac amlygiadau mawrion o ysbryd y brophwydoliaeth, a gwahanol ddoniau yr Ysbryd Glân. Yr oedd Cangen Aberlileri yn farwaidd. Pregethu allan wedi dechreu yn ddifrifol." Llythyron yr Henuriad Benjamin Evans sydd yn roddi yr un hanes da, a bod wyth aelod newydd wedi eu bedyddio, a chwaneg yn dyfod. Y Degwm ddim cymmaint y mis hwn oherwydd fod rhai gweithfeydd ar *stop*."

Da yw yr hanes o bob man am gynnifer ag sydd yn dda, ond druain o'r lleill ag ydynt yn hepian rhag ufyddhau i alwad Duw ac ymddefroi i ddiwygiad. Hwy a renir ac a ail renir ac a ddidolir hyd oni safo yr ychydig ffyddlon yn ddigymysg

fel byddin Gideon, a hwy meddwn a gant ymladd ac ennill y frwydr a dwyn eneidiau i Eglwys yr Oen.

Yr Henuriad Abednego Williams a hysbysa "fod gwell bywyd yn mhlith Saint Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg: fod rhwng 500 a 600 wedi cael eu bedyddio, ac o leiaf 20 o y rhai hyny yn newyddion. Caffid yr hen ofid arferol gyda ambell un a droai yn anffyddlon. Pregethu allan yn myned yn mlaen er's amser. Tua 70 o bentrefydd yn y Gynnadledd heb Saint yn byw ynddynt, i fyned i bregethu yn mha rhai yr ymddarpara amryw fechgyn ieuainc." Doethineb, gallu, a bendith Duw fo arnynt.

Dealler fod pawb ag ydynt yn cyfammodu yn talu degwm, oherwydd dyna un o ammodau y diwygiad.

Yr Henuriaid W. Miller a S. Roskelley ydynt ddiwyd iawn yn Nhosbarth Caerdyf. Pregethir allan gan y swyddogion mewn pedwar man yn y dref, a delir *Camp Meetings* allan yn cylchoedd. Pawb o'r bron yn agos wedi ymgyfammodu ac amrai aelodau newyddion wedi cael eu bedyddio.

Dyry yr Henuriaid J. Davies hanes dymunol am bawb ag ydynt ddymunol yn Nghynnadledd Orllewinol Morganwg. Tua y drydydd rhan wedi ymgyfammodu. Pregethu allan mewn llefydd hen a newydd, a phenderfyniad i rhybyddio y byd. Deallwn yr un peth o bob man arall.

Mae brodyr y Gogledd yn troi allan yn Llywyddion a Swyddogion i bregethu yn hir ac yn uchel i'r byd yr Efengyl Dragwyddol, a'r br. J. Jones a'i draed yn friw wrth garlamu o Fôn i Drefaldwyn i ddefroi a chymwyso y Saint. Y Duw holl bresennol ag sydd yn canfod ei ymdrechion a groniclo ei weithredoedd ffyddlon yn ddiogel erbyn dydd y taledigaeth, ynghyd ag eiddo y brodyr diwyd eraill.

Parhewch frodyr, ac ymunwn o hyn allan na chaiff esgeulusdod, marweidd-dra, segurdod na drygionu a gwrthryfel godi eu penau anghenfilaidd yn yr Eglwys. Gweithiwn, fel dywed y Prophwyd, dros Seion, a chawn weled y dilynir ein llafur presennol a mawr lwyddiant.

Anfoner cyfrif o'r nifer ag ydynt wedi ail gyfamodu &c. yma fel y gwybyddom yn ddiammeu fesur ein llwyddiant.

Galwn sylw neillduol at list y dyledion yn y rhifyn hwn.

## PARHAD YR EPISTOL.

Dyledus i golled braidd hollol o gnydau y tymmor diweddaf, a

cholled nwyddau yn ystod y gauaf a aeth heibio, a'r dyledogrwydd trwm a achoswyd trwy ymfudiad y flwyddyn ddiweddaf, ni a gymhellwyd i attal gweithrediadau ar y gweithfeydd cyhoeddus, hyd oni fyddo i ni dalu ein dyled, a lluosogi rywbeth o'n moddion. Oddiar y cynhauaf, yr ydym yn rhanol wedi adgymmeryd, eithr nis dechreuwn osod carreg ar y Deml hyd y gwanwyn nesaf, pryd y gobeithiwn ddwyn yn mlaen y gwaith hwnw gyda llawer o egni. Yr ydym yn casglu a pharotoi defnyddiau, a'n ewyllys a'n bwriad yn y cyfryw amser, i orphen y camlas er bado y graig y Deml.

Yr oedd y cnwd-gwenith y tymmor hwn yn dda, ond y llafur oedd yn hytrach yn ysgafn, a methiant braidd hollol ar y cloron er hyny, trwy hynt gwir synwyrol, hyderwn y bydd lluniaeth digonol i barhau hyd gynhauaf arall.

Yn ganlynol i weithred o basiodd yn nghymanfa wladwriaethol ddiweddaf y Gynghorfa Ddeddf-wneuthurol, Eisteddiad o gynnrychiolwyr a gyfarfuasant yn y ddinas hon ar y 17eg dydd o Fawrth diweddaf, ac a derfynasant eu gwaith ar y 27ain or un mis; gan mewn cymanfa wladwriaethol o ddeg diwrnod, ffurfio ffurf-lywodraeth, ethol cynnrychiolwyr, a mabwysiadu cofen (memorial) at y Senedd, gan wneuthur cais am dderbyniad i'r Undeb fel Talaeth benaduriawl. Eu gweithrediadau, yn ganlynol a ymostyngwyd i'r bobl, a ddaliwyd i fynu yn unfrydawl.

Dysgwn, trwy hyfforddiadau diweddar oddiwrth ein cynnrychiolwyr yn Washington, mai mewn canlyniad i'r gwrthwynebiad rhyfeddol fawr a'r rhagfarn yn ein erbyn fel pobl, ni ddarfu iddynt ystyried yn ddoethineb i gyflwyno ein cais, er hyny ni chafwyd dim bai nag yn ein Furff-lywodraeth, na'n gallu i ddal i fyny a gweini Talaeth Lywodraeth. Ymddengys fod y gwrthwynebiad yn byddinaw yn ei erbyn yn hytrach yn gyfrif ffydd grefyddol ac ordinhadau Eglwysig, fel er eu bod yn bwnc cyfreithlon i'r senedd i swydd-ymgeisio. Pa lwybr a gymmerir sydd i ni yn anwybodus, canys nid yw ein cofeb etto wedi cael ei chyflwyno. Pan elo cynhyrfiadau yr etholiad llywyddiaethol heibio, gobeitir y gall mynegiadau mwy ffafriol, er cysgodi gweithred rydd a gonest ar ei theilyngdod, warantu ei chyflwyniad. Os gellir cwblhau hyn, a hawliau ein cais am dderbyniad i'r Undeb fel Talaeth i gael swydd-ymgeisio yn dêg ac anrhydeddus ar bob pwynt cyfreithlon i gael ei ddwyn allan, nid oes genym ddim ammheuaeth am ei derfyniad llwyddiannus.

Yrydym yn fwy diofal gyda golwg ar y pwnc hwn yn grefyddol nag mewn synwyr gwladwriaethol, canys, pa un ai ydym yn gorfforedig mewn sefyllfa Diriogaethol neu Dalaethol, mae ein llywodraeth yn rhwym o ein hamddiffyn yn ein iawnderau o gydwybod, neu draws-farchogaeth amlwg warantyddiaethau ffurf-lywodraeth. Ac nid oes un dynsawd deallgar yn dal mewn bri uchel iawn, yr undeb hwnw ag sydd yn oriawl yn cael ei

beryglu gan sel wallgofus gwerin-lywodraeth camarweiniol ac anmhwyllog, y rhai a fathrant y peiriant nef-ysbrydoledig hwnw, y Ffurf-lywodraeth, i'r llwch, heb barchu na chymmerodd eu tadau, nac etifeddiaeth eu plant.

Nid ein dyben yn yr Epistol hwn yw dadlu pynciau gwladwriaethol, ond nis gallwn ymatal rhag yn gyfiawn a didwyll aralw ei allu Ef yr hwn sydd yn eistedd yn orseddawl yn y nefoedd, i ganfod y rhai hyny ag sydd yn terfysgu cynghorion ein cenedl, ac yn prysuro dinystr y cynghrair mawr hwn o eiddo y Talaethau penaduriawl, ac i groesi eu bwriadau drygionus ac anfad, i rwystro eu drygioni, a pheri ereill i gyfodi yn eu lle y rhai a reolant mewn cyfiawnder a chadw ein terfysglyd ond anwyl wlad rhag ei dystryw cyfagos.

Yn Nghynnadledd Ebrill, galwyd dri chant a deg a deugain o Henuriaid i fyned ar ganadiaethau, yr oll o ba rai gyda pharodrwydd atebasant ac a ymadawsant i eu hamrywiol feusydd llafyr. Y Gynadledd a fendithiwyd gydag hyfforddiadau cyfoethog, amserol a ddyddorol, ac ymddangosai fod ysbryd da cyffredinol yn treiddiaw pob mynwes. Yr oedd yn niferog, a'r brodyr oeddynt yn llawenhau yn undeb y ffydd santeiddiaf, mewn mawl, diolchgarwch ac addoliad i ein Tad a'n Duw.

Cyn y cynhauaf profwyd llawer o angen gan bentyrau y bobl, gan eisiau lluniaeth, eithr yr haelioni cymmeradwyol a ymarferwyd gan y rhai hyny a fuont yn ddigon ffyniannus i feddu cynnoathwy, a gallu yr Esgobion yn nghryfnad gerwin drefnidaeth, a dosparthiad i'r angenus, a rwystrodd unrhyw swm mawr o ddyoddef. Hyderwn yr amlygir yr un tueddiad haelionus bob amser, yn rhaniad hyd y nod gynnorthwy prin â'r gwirioneddol anghennog, a arferwyd mor gyffredinol yn mhlith y bobl y tymmor a aeth heibio. Etto, cyfrifwn yn well i bawb ymarfer y diwydrwydd hwnw, trefnidedd ac ufydd-dod a gymhellir mor fynych arnynt, fel na fyddo i fendithion y Nef gael eu cadw yn ol, fel y gallo yr elfenau a llafurwaith yr amaethydd gael eu bendithio gan yr Arglwydd, ac i'r ddaear ddwyn allan yn ei nherth, y grawn ar ffrwythau cyfoethog o honi er cynnaliaeth dyn.

Er y rhai hyn, a llawer o ansoddau da ereill ag sydd yn nodweddu y bobl o hyd, etto yr ydym yn cael tueddiad rhy gyffredin i rwgnach, chwilio bai ac achwyn ar oruchwyliaethau Oll-ddoeth Ragluniaeth; tueddiad o glaiarwch dibris i'w gynghorion Ef, a chysgadrwydd diflas ag sydd yn sio y bobl i sierwyddgau; yr holl o ba rai a roddant y fantais i Satan, i ni gofio ein bod yn byw mewn byd o bechod, truenu a blinder, ac fod gelyn pob cyfiawnder bob amser yn heinif i ddinystrio y Saint, a'u harwain hwynt i brofedigaeth, tywyllwch, pechod a throseddiad.

Frodyr, yr ydym yn eich anog i deffrôi o'ch cysgadrwydd, a gosod am danoch arfogaeth cyfiawnder Efengyl yr Iesu, a cheryddu y gwrthwynebwr y gallu Satan a'u gyrru hwynt yn mhell oddiwrthych; a dal cyfeillach a chymdeithias a'ch Duw,

el y byddo i allu y Goruchaf orphwys i lawr arnoch chwi, llosgi yn eich monwesau, yn eich teuluoedd, yn eich cymmydogaethau, dinasoedd, gwledydd a lle bynag y mae Saint y Goruchaf Dduw; fel y byddo i ddychryn ddal y rhagrithwyr yn Seion a thân yr Hollalluog i ddifa y drygionus ar annuwiol o'r holl ddaear. Fel hyn. tra y mae digofaint yr Arglwydd yn myned dros y cenedloedd, ac i ninau hefyd dderbyn cyfrau o'r cerydd, bydded i ni fod yn ddoeth a derbyn yn briodol y cerydd, megis yn dyfod o law Tad caruaidd yr hwn sydd yn ceisio lles penaf ei blant. Bydded i ni rhagllaw werthfawrogi yn fwy cyflawn ein bendithion, ac yn yr awrhon, pan y mae cynhauaf helaethlawn drachefn wedi coroni ein llafur, i fod yn ddoeth ac i ymarfer trefnidedd mewn defnyddio a chadw ein llafur fel na byddo i wastraf a dosparthiad annoeth o hono i nodweddu ein gweithredoedd.

Yr ydym yn ddedwydd o fod yn alluog i ddywedyd fod yr Indiaid yn heddychol yn ein holl sefydliadau. Yr ydym wedi helaeth brofi fod dyddordeb cyfeillgar yn eu daioni, a llywodraeth feddychol yn llawer mwy llwyddianus mewn diogelu eu teimladau da, a dwyn yn mlaen a chadw heddwch, ac yn raddol eu harwain i ddealldwriaeth o'r lles ag sydd yn deilliaw o fodolaeth wareiddiedig. Gwrthdaflu eu geiriau a'u gweithredoedd digofus, a'u lladd am bob tramgwydd gwael, fel y llwybr arferol a ddilynyr tuag atynt gan y dynion gwynion, yw ymddarostwng i eu harferion creulawn a barbaraidd, gan gydgyfnewid fel hyn eu gweithredoedd drwg. Ni wna y fath lwybr byth beri iddynt werthfawrogi bendithion cymdeithas wareiddiedig, na'u daylnwadu i geisio eu llesiant, eithr, megis ag mae pob ymbrawf a aeth heibio yn brofi, a'u gyr hwynt i eithafedd gwrthwynebol, ac yn ychwaneg at yr eiddynt, i beri iddynt dderbyn y drygau, heb rinweddau gwareiddiad. Am hyny, bydded i ni, yn ein holl gymdeithas a hwynt, arddangos dealldwriaeth rhagorach, amgyffredion helaethach o iawn, hiroddef ac anrhydedd.

Byddwch gyfiawn, brodyr, yn eich holl ymwneyd a hwy; nid yw wahaniaeth pa lwybr a ddilynant hwy tuag attoch chwi, peidiwch byth addalu drwg ond bob amser arddangos penderfyniad diysgeg i wneyd yn iawn a cheisio esgusodi eu hymddygiad ac ennill eu serchiadau.

Dilyn y llwybr hwn yn ddianwadal a raid, mewn amser priodol, eu tueddi hwynt i ymollwng o'u hanwar greulondeb, diffaith arferion llwybr bywyd drygionus, i hyfforddiadau rhagorach ddoethineb a'u cyfodi i radd uwch yn nghlorian dynol fodolaeth. Mae eisioes wedi cael effaith yn y cyfeiriad hwn, digonol i ein cefnogi yn ein hymdrechiadau i'w dwyn hwynt i fywyd gwaraiddiedig nid i ddywedyd fywyd Cristianogaidd. Mae yn rhaid eu gwareiddio; rhaid eu dysgu i aredig, hau, planu. cynhauafu, adeiladu tai a gwneyd angaeau; rhaid eu dysgu mewn peirianwaith ac amaethyddiaeth ; yna daw eu meddyliau yn ddigon helaeth i dderbyn goleuni Efengyl, a'r egwyddorion perthynol

i eu hiachawdwriaeth, a'u dyrchafiad yn nheyrnas eu Duw.

Cofier, frodyr, mai gweddillion Israel ydynt, ac er y gallant amlwg barhau dros amser i dreulio ymaith a suddo ddyfuach ddyfnach i eigionau pechod, trueni a gwae, mai iddynt hwy y perthyn yr addewidion a wnaed i Abraham ffyddlon, a hwy a gyflawnir. Byddwch ddiwyd, gan hyny, i wneud daioni iddynt, a cheisio yn eich holl gydgyfeillach a hwy eu dwyn yn ol i wybodaeth o'r Arglwydd Dduw eu tadau. Cadwch eich hunain oddiwrth eu diffaith greulonder; byth na ddarostyngwch eich hunain i'w hannel hwy, eithr bob amser ceisiwch eu dyrchafu hwy i fodiaeth ddeallgar uwch, purach, ac, yn ganlynol, mwy defnyddiol.

Yn ein cydgyfeillach a'r byd, cawn fod genym fwy i'w wneud a'r tylawd, a'r cyfryw ag sydd mewn sefyllfa isel, a gallem ddywedyd, o barch bydol iselach na'r rhai hyny o unrhyw ddosparth arall. Bydd i hyn yn unig weinyddu un arall o'r tystiolaethau cedyrn hyny o eiddo yr Arglwydd Iesu ar ranfod y rhai hyn ei bobl. Yn wir, "y mae y tlodion gennych chwi bob amser," ac y mae yn gweddu i ni eu dysgu hwy pa fodd i fyw, pa fodd i gyfuno yr elfenau, fel y gallont hwy hefyd trwy eu hymegniadau eu hunain i dynu cymmorth o ystordy mawr natur, yr hwn sydd yu helaeth i bawb. Ie, eu dysgu hwynt i fyw, a gosod eu hunain, trwy eich dealltwriaeth a'ch caredigrwydd, mewn sefyllfa i ennill neu mewn rhyw ddull canmoladwy gyrhaedd bywioliaeth trwy eu hymdrechiadau eu hunain. Cyfrif a threfnu drostynt, a'u cefnogi hwynt trwy arweiniad yn mlaen ac arddangosiad gwrthrychau rhag blaen.

Cyfeiriwn sylw yr esgobion a'u cynnorthwywyr, yn fwyaf neillduol at y pwnc hwn, gan ei fod yn disgyn arnynt hwy i weini mewn pethau tymmorol. Yn Israel fel yn y byd y mae llawer o lywodraethwyr, ond ychydig gyda theimlad tadau at y bobl. Byddwch dadau i'r bobl, chwi esgobion, ac arweiniwch hwynt yn mlaen, gam wrth gam, hyd onid elont yn gryfion yn y wybodaeth o bethau, yn dymmorol ac yn ysbrydol, perthynol i deyrnas ein Duw.

Hwn sydd bobl briodol; y maent eisioes wedi dyfod yn fawr iawn, gyda phob elfenan am lwyddiant a chyflym ddyrchafiad. Mae genym o'n blaen gynlluniau cenedloedd y byd; yr ydym yn canfod eu llwyddiant, eu balchder, a'u traha; gwnaed ni yn ymwybodol o'u gallu ac o'u gormes, ac yr ydym yn gwybod am eu brwnt lygredigaeth, ffugiadau halogedig, a'u rhagrith; yr ydym yn adnabyddus a'u trefniadau o dlottai. tlawd-ffermydd carcharau, cerydd dai, gwallgof-dai, a chlaf-dai, ac a'u trueni a'u diraddiad.

Yn y pentwr oll-rywiog o boblogaeth a deflr ar ffrwst yn nghyd o bob cenedl, llwyth, tafodiaith, a phobl, bydded i ni ddilyn y llwybr hwnw ag sydd yn cynnwys llwyddiant, mawredd a gogoniant, a gwrthod gyda dirmyg y llwybr ag sydd yn

dwyn allan y canlyniadau anffodus uchod. Gan ochelyd y llwybr ag sydd yn malu wyneb y tlawd i ddyrchafu y cyfoethog. Bydded i ni gyfranu caredigrwydd nid yn gymaint fel i borthi y newynog, a dilladu y noeth, ag i beri iddynt borthi a dilladu eu hunain, ac arwain y bobl i ymarfer rhinwedd, a rhodio yn llwybrau cywirdeb a gwirionedd, nid yn gymaint trwy ofn cospedigaeth, carcharau, a chosp-marwolaethau, ag i blannu yn eu monwesau gariad arosol a byth-gynnyddol dros yr egwyddorion pur hyny ag sydd yn tueddi i anrhydedd, llwyddiant, iachawdwriaeth, a dyrchafiad yn y bywyd hwn, a'r hyn a'u dilläda hwynt a chyfoeth tragywyddoldeb yn y bywyd i ddyfod.

Adeiladu ysgoldai yn lle carchardai, a gwneud ein crefydd yn effeithiol mewn esgusodiad o'r defnyddiad o lysoedd a rheithwyr, carcharorion, a charcharau; na chaffer dim cyfreithyr, oherwydd nad oes dim ymgyfreithiad; dim meddygon oherwydd nad oes dim cleifion; dim clafdai neu wallgofdai, oherwydd nad oes dim eiddilod. Dylai Saint y Goruchaf Dduw gynnal eu hunain trwy eu diwydrwydd, trefnidedd, a sobrwydd; eu hiechyd trwy eu rhinwedd, callineb, sobrwydd, ffydd, a chyfarchwyliadau o'r ordinhadau santaidd; eu mhoesau trwy y cariad maent yn ei ddwyn tuag at eu Duw a'u crefydd santaidd. Dylent fod yn unol fel y gallont gael gallu, a mwynhau y bendithion o heddwch a llonyddwch gartref ac oddicartref.

Er yr ymdrechiadau a wnaethpwyd i weithio haiarn, ac i wneud siwgr o'r betysen (*beet*), hyd etto nid oes dim effeithiau buddiol wedi eu gwireddu; etto disgwyliwn barhau ein hymdrechiadau hyd oni chyflawn gwblheir y gwrthrychau hyn. Credir y symudir pob rhwystr ag sydd yn y ffordd o wneud haiarn, pan y gall ager gael ei ddwyn i ddiwalliad lle o'r grym dwfr ag sydd yn aml yn methu mewn amser anghen. Mae genym beiriant yma yn awr ag sydd o faentioli digonol i ddiwallu y grym gofynol; os gwna y Cwmpeini ddefnydd o hwn, trwy ei gynnorthwy gobeithiwn gael ein cyflawn ddiwallu a'r erthygl anhebgorol ddefnyddiol hwnw, haiarn.

Yr ydym wedi bod yn oedi gwneuthur siwgr yn benaf trwy y methiant o gnwd y betysen am y ddau dymmor ddiweddaf, y ciliogod y rhedyn a ddinystriasant yr had y flwyddyn ddiweddaf, i'r fath radd fel nas gallesid codi had digonol at hauad y flwyddyn. Hyderwn, trwy fendith yr Arglwydd, na fydd dim methiant drachefn i droi yn ol ein dymuniadau, ac y cawn fod yn fuan yn alluog i ddiwallu o'r betysen siwgr digonol er treiliad cartrefol; yr ydym yn frwdfrydig fod i hyn gael ei wneud, ac y mae ein brwriad i barhau ein llafurwaith yn yr anturiaeth hon hyd oni chyflawnir hyn yn gyfangwbl.

Swmiau cymmedrol o ledr sydd yn cael ei weithio yn y y Diriogaeth hon, er nid hollol ddigonol i ddiwallu angenion y bobl; gellir dywedyd yr un peth mewn perthynas i law-weith-

iad llawer o erthyglau eraill, fel ag yw hetiau, *jeans*, gwlan-llin, gwlanen, gwrthbanau, *shawls*, &c.; ond yr ydym yn bennaf yn ddiffygiol mewn diwallu ein hunain a nwyddau cotwm a lliain, ac yr ydym yn esgeulus hollol mewn codi cotwm a llin.

Cynnysgaetha ein Tiriogaeth sefydliadau cyfaddas er codi pob un o'r nwyddau hyn mewn helaethrwydd mawr, a'n taer ddymuniad yw, fod i'r rhai hyny ag sydd yn gynnefin a'u gweithiad i wneud hyny eu gorchwyl, hyd oni fyddo ein marchnadoedd yn cael eu cyflawn ddiwallu i hyny. Hefyd codir lliw-glas, cywarch, gwneud rhaffau, corden, ac edau, a thynu olew o'r had llin a chotwm, ac o'r afange-ffaen *(castor oil bean)*. Bydded i ein brodyr ag sydd a moddion ganddynt, ddwyn yn mlaen beirianwaith cotwm a gwlan, fel y gallom fod yn alluog i weithio ein nwyddau ein hunain, ac hefyd ddwyn y pigion goreu o geffylau, da, a defaid.

Gwrteithier y ddraenen, *osage, orange, a meskete*, at argaeau, y *cottonwood* a'r *locust*, er addurn, ac, mewn sefydliadau cyfleus, er cael preniau a choed y rhai a wnant yn gyflym, a'r morwydden (mulberry), at sidan. Dyger a gwrteithier yn mlaen bob math o ffrwythau, a hadau, ac impiau eraill; planer coed, drysgwydden (shrubbery), gwinwydd, &c., er addurn a defnyddiad; gwrteithier y rhywogaethau goreu, yn cynnwys grawnwin, rhyswydd (currants), eur ddrain (gooseberries), syfi (strawberries), ac amrywiol fathau o laswellt, glas liw yr India (indigo), y wreiddrudd (madder), a phob peth ag sydd yn tueddu i loni a boddio y galon, hyfrydu y llygad, a gwneud yn llawen a siriol artrefoedd y Saint.

Yn nghymmydogaeth Log Vegar y mae gwythien o fwn plwm helaeth a chyfoethog iawn wedi ei dwyn i'r goleu, ac yn awr yn cael ei gweithio yn llwyddianus gan ein dinasyddion anturiaethol. A barnu oddiwrth y darluniad, y mae y wythien fwyaf helaeth o blwm a gafwyd erioed; siamplau o'r gyfran a gloddir er eu toddi a roddant helaethrwydd y cant, o blwm. O'r ffynonnell eppiliog hon nyni yn fuan a gawn ein helaeth ddiwallu o blwm, ac yr ydym yn ewyllysio i ein llaw-weithyddion pibau plwm, i llenileni, plwm gwyn a choch, ac erththyglau defnyddiol eraill a wneir o'r metel hwnw, i ddarparu eu hunain mor fuan ag y byddo wneuthuradwy, i gyflawni pob erthyglau o'r fath hyn allan o'n hadnoddau ein hunain,

Bydded i'r cyfryw gyhoeddi eu hunain i ni yn bersonol neu trwy lythyr, y rhai ag ydynt yn gynnefin a gweithio mewn plwm, haiarn, glo, neu dyllu am hyny; y rhai ag sydd yn gynefin a chodi neu weithio cottwm, llin, a chywarch, neu wneud olew, hoelion, dur, gwydr, &c., fel y gallom ddosbarthu ein llafurwaith, a dwyn allan o'r elfenau cynhenid y pethau hyny ag sydd yn cyd roddi er llesiant dyn.

Dywedwn wrth ein celfyddydwyr, gwthiwch yn mlaen yn eich llafur, na ddigalonwch, parhewch i ddiwallu y cyfundeb a'ch nwyddau a gwneuthuriadau, a lledr, botasau, esgidiau,

hetiau, capiau, dwrndorchau, gwisgiadau, sebon, canwyllau, glud, esgid-hoel breniau, saleratus, alym, halen y graig, (saltpetre). pyg, tar, turpant, olew, dodrefn, a llafur arhed beirianwaith, Bydded i'r amaethwyr gefnogi y celfeddydwyr gyda'u nhawdd penaf, a bydded i bob un ddwyn yn mlaen eu lles eu hunain a'u brodyr.

Dadau, dysgwch eich plant i ymarferu diwydrwydd, dysgwch eich meibion amaethyddiaeth, neu ryw grefft gelfyddydol ddefnyddiol.

Famau yn Israel, yr ydych chwi hefyd yn cael galw arnoch i ddwyn i fyny eich merched i ddilyn rhyw alwad ddefnyddiol er cynnaliaeth, fel pan ddelont yn wragedd Henuriaid Israel, y rhai yn fynych a elwir ar genadiaeth, neu i gyssegru eu hamser a'u sylw at bethau y deyrnas, y gallont fod yn alluog i gynnal eu hunain a'u hiliogaeth. Dysger hwynt i wnio, nyddu. a gweu; i wrteithio llysiau. yn gystal a blodau; i wneud sebon yn ogystal a thorthau a chyffeithfwydydd; i nyddu, lliwio, gweu, a chlymmu, yn ogystal a gweithio brwyd-waith (embroidery); i odro, gwneuthur ymenyn a chaws, a gweithio yn y gegin yn ogystal ag yn y parlwr, Fel hyn bydd i chwi a'ch merched i ddangos eich hunain yn gymmeradwy, a phrofi yn gyd-gynnorthwywyr yn mhob gweithred, nid yn unig yn y perthynasau teuluaidd, ond hefyd mewn adeiladu i fyny y deyrnas.

Cyfrifol iawn ydoedd yr arddangosiad o ryw gynnyrchion yn Ffair Flynyddol y Dalaeth, yr hyn a ddaeth yn mlaen ar y 1af, yr 2il, a'r 3ydd o Hydref, eithr hyderwn y bydd yn rhagori yn mhell flwyddyn arall. Mae yn cefnogi cyd ymgais canmoladwy, ac yn cyffroi cyd-ymgais am y daioni cyffredin.

Dyledus i annhrefniant y llythyr gerbyd dwyreiniol, bydd i ein goruchwylwyr a'n gohebwyr ad-ysgrifenu eu llythyrau drwy ffordd San Pedro, Califfornia, bob gauaf. Ac yr ydym yn rhagrybuddio un ac oll mai, oddieithr iddynt weini yn bersonol i gerbydiad eu llythyrau a'u hysgrif-brofion, yr adysgrifau, fel ag yr oedd yr achos yn y tymmor diweddaf, er eglur gyfarwyddo, ni lwybreiddir fel yr erchwyd. Rhoddasom yr un hyfforddiadau i ein goruchwylwyr dwyreiniol y flwyddyn ddiweddaf, a hwy a gydsyniasant a hyny, mor bell ag i gerbydu adysgrifau gyda'r cyfeiriad priodol, eithr y gwreiddiolion a'r adysgrifau a ddaethant yn yr un cerbydau yn y gwanwyn, gan brofi fod rhyw gydwaid llythyrdai mor ddibris gyda golwg ar gyflawni eu dyledswyddau, ag ydyw rhai cerbyd-ammodwyr a'r eiddynt hwy.

Nis gallwn gau yr Epistol hwn, heb gyd-lawenychu ein hunain, a'r Saint, preswylwyr y Diriogaeth helaeth wasgaredig hon, ag iechyd cyffredinol y bobl, y llwyddiant ag sydd yn dilyn ein hymdrechiadau, y llonyddwch a heddwch yn mhob lle yn orfodol. Dim coffadwriaeth o drosedd yn adfywio llys

gynteddau a charchardai; dim dyfarniadau a dedfrydau llysoedd wedi eu hanfon, i anghyfaneddu cartrefoedd, ing ac anobaith; nac etto fod tramgwydd-wyr diwridog yn rhodio ein heolydd yn anghospedig, yn gofyn cynnorthwy Pwyllgor y Wiliadwriaeth i ryddhau ein Tiriogaeth o'u presenoldeb diroesaw.

Darfu i dynged neu yn hytrach Ragluniaeth yn wir, ein ffafrio ni trwy daenu o flaen ardrem awyddus drythyllgais y byd, yr eilun-cyfaredd o gyfoeth, y gobaith o oludoedd daearol yn mhell oddiwrth y dyffrynoedd gorfodogawl hyn, a gosod terfynau cedyrn rhyngddynt—er etifeddu o honom y gyfran fwyaf anwahoddol o'r ddaear, teimlwn yn ddedwydd fod profedigaethau yr awr, a gallu y byd hwn yn amneidio eu heiddunwyr a'u harGeiswyr i dderbyn arall, o ba le nid oes un teithiwr yn caffael cymhelliad i ddychwelyd, gan adael i ni fwynhau yn yr encil-iadau heddychawl hyn y llonyddwch a'r rhyddyd hwnw oddiwrth y drygionus a'r annuwiol, yr hyn a ddarfu i ni mor ddifrifol ei geisio,

Pan y mae y fath gymmeriadau yn cael eu hunain yn ein plith, y rhagolygiadau diffrwyth am unrhyw radd bwysig o lwyddiant a dyscleirdeb yn awr ychydig yn mhellach yn mlaen yn fuan a'n dilwytha ni, ein llysoedd a'n dydd-lyfr treseddiadawl o'u presenoldeb diffaith a diroesawus. Ni ddarfu i'r Saint erioed o'r blaen gael eu cyfleu mor ffafriol i lanhau y ddiadell oddiwrth yr ysbrydion haner-calonog a gwrthgiliadol ag eppil Satan, y rhai sydd yn dilyn ar ein ol ni yn unig i ddinystrio. Un neu ddau o dymmorau, a hwy a ddechreuant deimlo eu ffordd allan, gan gyfiawn farnu nad yw hwn ddim yn lle iddynt hwy. Eu chwantau llygredig, bwriadau a gweithredoedd yn fuan a wneir yn amlwg, a'r cymhellion i aros gyda phobl gyfiawn ydynt yn rhy ychydig.

Am hyny, tra yr ydym yn casglu, yn debyg i'r rhwyd a fwriwyd i'r môr, o bob cenedl llwyth, iaith, a phobl o bob math, yr ydym hefyd yn eu nhithio allan fel gwyntylliad gwenith ar y llawr dyrnu hâf. Nyni a geisiasom heddwch a rhyddid oddiwrth allu dynion drygionus a dichellgar, ac yr ydym yn fesurol wedi ei gael ef.

Yr ydym wedi gosod allan ein llaw i gasglu allan yr onest yn nghalon o blith y cenedloedd, ac yr ydym yn cyflym gyflawni ein dyben. Yr ydym yn anturio i adeiladu fyny ddinasoedd, trefi a phentrefi i'r goruchaf Dduw, pur a santaidd yn ei olwg Ef, ac yn dysgwyl, trwy ei gynnorthwy a'i fendith Ef, i fod yn llwyddiannus.

Pan yr ydym yn edrych ar fynediad yn mlaen lluoedd Israel ac yn ystyried eu gwelliant cyflym mewn ffydd, gwybodaeth, gweithredoedd da, dylanwad, gallu, a'u nhiferoedd ymgasgliadol yn wastadol, yr ydym yn teimlo diolch i'r Arglwydd am Ei ddaioni, sef Efe yr Hwn a ddygodd allan iachawdwriaeth, ac a berodd i oleuni darddu fyny ar y ddaear. Yr ydym yn teimlo yn ddiolchgar am ein bod wedi ein cenadu i fyw yn y

fydd a'r genedlaeth yma, yn yr hon y gwelodd y Jehofah, Mawr yn addas i ail-sefydlu ei awdurdod ar y ddaear, ac i ail gyflwyno yr Offeiriadaeth santaidd a thragywydd ar blant dynion,

Yr ydym yn teimlo yn ddiolchgar ein bod yn cael y fraint o ardystio camreu uchel wych yr Hollalluog yn mysg y cenedloedd, a mynediadau allan ei air gyda gallu, y cyflawniad o'r geiriau a roddwyd gan ysbrydoliaeth yn yr amseroedd gynt a'r cyflawniad o'r geiriau a roddwyd trwy yr Oraclau bywiol yn ein plith; ei fod Ef wedi llefaru o'r nefoedd; fod cenadon, angylion, a negeswyr o'i orsedd-fainc Ef wedi torri y dystawrwydd a gyfryngodd er cenadiaeth a goruchwyliaeth unig anedig Fab Duw, Iesu o Nazareth, ac ail agoriad cyflafareddiad â'i blant ar hon ei ddaear, wedi corffori drachefn ei Eglwys a'i Deyrnas a'i chynnysgaethu hi gyda'r holl awdurdodau, ordinhadau, Doniau, sacramentau, bendithion, rhagorfreintiau, gallu a gogoniant perthynol i hyny.

Yr ydym yn llawenhau nid yw y geiriau a aethant allan oddiwrth yr hen Brophwydi, ac oddiwrth Iesu, Joseph, a'r Apostolion, yn dychwelyd yn wag, nac ychwaith fel seiniad efydd neu symbalau tincianawl; canys wele, Arglwydd y lluoedd, trwy ffyddlondeb, ymegniad a dyfalbara Ei weision, yn ffyddlon a rybyddiodd ac sydd yn rhybyddio y bobl, mewn ysbryd llariedd-dra a gostyngeiddrwydd y cyhoeddasant yr efengyl iddynt, oherwydd pa ham eu dillad sydd lân oddiwrth eu gwaed, ac y maent wedi eu gadael yn ddiesgus ger bron yr Arglwydd, i fedu gwobr eu hanwiredd, i brofi y cystuddiau sydd ar led yn y ddaear, i deimlo y digofaint y gwywdra, yr ing chwerw yr hyn ffydd i gyfiawnder Creawdwr cyfiawn liddennynol a thramgwyddedig ei dywallt allan arnynt.

Hwy a osodant yn ddim eiriau Ei weision, gwatwarasant ac a'u daliasant hwy mewn dirmyg ; a fathrasant y plannygyn ieuangc a thyner yr hwn a blanodd yr Arglwydd Hollalluog, a gwnaethant ddiystyrwch i eiriau bywyd ac iachawdwriaeth y rhai a berodd Efe ar iddynt i gael eu cyhoeddu yn eu clustiau. Hwynthwy yn waradwyddus a laddasant Ei Brophwydi ac ddifodasant ymaith Ei bobl, Ei Saint ffyddlon gwaed y rhai sydd yn llefain atto o'r ddaear am ddialiodd.

Yn hir ragrithiol weddiau, gwefys-wasanaeth, duwioldeb ffugiol ac addoliad eilun-addolgar, a ddaeth ffeidd-dra ger ei fron Ef; oherwydd pa ham Efe a ychwanega ddwyn arnynt y barnedigaethau y rhai a ragddywedyd gan Ei weision y Prophwydi, a mawr fydd yr anghyfanedd dra o hono. Eu cenedloedd mawrion a chedyrn, ymerodraethau a theyrnasoedd, gyda'u balchder rhwysg a'u gallu, a dryllir ac a chwifriwir yn ddarnau ac a ddeuant i ddim. Eu dinasoedd a ddeuant yn ddiffaethwch wylofus, yn le unig, lle y ceir y olaidd a'r fultwr, ac ni cheir un dyn yn drigianydd ynddynt. Ie, yn ddiau, Efe a wagha y ddeaear o'r drygionus ac o'r rhai hyny ag sydd yn

gwneuthur ffeidd-dra yn ei olwg Ef, felly teyrnasoedd y byd hwn a ddeuant yn deyrnasoedd ein Harglwydd ni a'i Grist Ef, felly y parotoa yr Arglwydd y ffordd er ei ddyfodiad a'i deyrnasiad ar y ddaear.

Bydded i'r Eglwys, am hyny, barotoi megis priodasferch i dderbyn ei priodfab; bydded i'r Saint gael am danynt y wisg briodas a chael eu lampau wedi eu diwallu yn dda ag olew, wedi eu trwsio ac yn llosgi; bydded i bob peth gael ei wneud yn barod er derbyniad ein Iachawdwr a'n Gwaredwr, sef ein Harglwydd y Crist. Bydded yr holl Saint trwy yr holl fyd fyw eu crefydd, fel y gallont fod yn deilwng i fwynhau ei bresenolneb a chaffael ymddyddan ag angelion ein Duw; byddyd iddynt wregysu eu lwynau a chamru yn mlaen yn ngallu a nerth Duw Elias i ymladd yn yr achos mawr hwn, ac ymarfogi ag oll-arfogaeth y Nef Oruchel, sef arfogaeth iachawdwriaeth a helm cyfiawnder, a myned allan gan orchfygu ac i orchfygu hyd oni fyddo i'r efengyl gael ei seinio i bob cenedl, llwyth, iaith a phobl, a'r pur o galon, llariaidd y ddaear, Israel ein Duw, i gael eu casglu allan oddiwrth cenedloedd y drygionus, a'u dwyn i etifeddu ac addoli o dan eu gwinwydd a'u ffigyswydd eu hunain, a dysgu ganddo Ef gogoniant yr hwn a orphwys ar ei Deml fel cwmwl y dydd a cholofn o dân y nos.

BRIGHAM YOUNG,
HEBER C. KIMBALL,

Dinas Ll. H. F., Rhag. 10, 1856. [Cyf. Dewi Elfed.

---

## EDIFEIRWCH YN MYSG Y SAINT.

(O'r *Star.*)

Gelwir ar Saint y Dyddiau Diweddaf yn Mhrydain Fawr i edifarhau. Eithr paham yr alwad hon? Onid ydynt eisioes yn bobl da? Oni edifarhasant pan ddaethant yn mlaen ac y derbyniasant yr efengyl, ac eu bedyddiwyd er maddeuant o'u pechodau? Ydynt, y maent o lawer y bobl goreu yn Lloegr; ac y maent wedi edifarhau am lawer o bechodau, o'r cyfrai a wnaed yn hysbys iddynt o bryd bwy gilydd; eithr nid ydynt etto yn berffaith, ac ni fyddant ychwaith tra yn amgylchynedig gan ddylanwadau llygredig Cristionogaeth Fabilonaidd. Cyhyd ag nad ydynt berffaith yn nghadw cyfraith Duw, cyhyd a hyny yr anghenant edifarhau.

Yna dywedwn wrth yr holl Saint, fod edifeirwch, a diwygiad hollol yn eich plith eich hunain, o fawr angen. A ddymunwch chwi wybod o ba bechodau yr ydych yn euog? Eich cydwybodau eich hunain a ddangosant lawer o honynt. Cyfraith fanwl Duw, os ei darllenwch, a'ch cyhudda o lawer o ddrygau. Os ewch i wrando pregethiad ffyddlawn weision Duw, hwy a ddangosant i chwi lawer o'ch troseddiadau. Os darllenwch gyhoeddiadau yr

eglwys, hwy a fyddant gynnorthwy i chwi yn narganfyddiad eich pechodau. Yr Ysbryd Glân, os gadewch iddo breswylio yn eich calonau, a'ch hargyhoedda o bechod, ac a ddengys i chwi amryw anmherffeithderau ar na ganfyddech fodd arall.

Pan gaffoch unrhyw beth yn eich hymarferiadau ar nad ydyw gydffurfiol a gair Duw, dylech yn ddiattreg edifarhau, trwy wneuthur cyfaddefiad gonest o'r unrhyw i Dduw, a thrwy ddiwygiad o'ch hymddygiad yn y peth hyny. Neu os ydyw eich pechod yn erbyn dyn, i ddyn y dylech wneuthur cyfaddefiad a iawn. Yr hwn a becho yn ddirgel a ddylai gyfaddef yn ddirgel; yr hwn a becho yn gyhoeddus a ddylai gyfaddef yn gyhoeddus. Yr hwn a droseddo gerbron llawer a ddylai gyfaddef gerbron llawer: ac yn mhob achosion bydded eich cyfaddefion i Dduw, ac i gynnifer ag a dramgwyddasoch yn anghyfiawn, pa un a fyddant yn neu allan o'r eglwys.

Os wyflawnodd Sant unrhyw bechod yn erbyn Duw, ac na niweidiodd y pechod hwnw unrhyw berson heblaw ei hun, dylai yn unig wneuthur ei gyfaddefiad gerbron Duw: ni ddylai ddadguddio y fath bechod i eraill, canys mewn gwneuthur felly roddai achlysur iddynt ei warthruddo, neu fe allai y cyfryw drosedd ddinystrio eu hymddyried ynddo, ac felly syrthiai i fagl y diafol. Pan nad ydyw ein pechodau yn erbyn eraill, yna nid oes ganddynt fusnes i'w gwybod, oddieithr yr arhoswn mewn anedifeirwch, yna mae eu dynoethiad yn angenrheidiol, fel y dadwreiddier y cyfryw. Eithr pan y maent yn erbyn eraill, yna nid yw cyfaddefiad i Dduw yn ddigon: ni chymmeradwya Duw ein cyfaddefiad, na gwrando ein gweddiau, pan yr esgeulusom ymgymmodi a'n brawd, ein chwaer, neu ein cymmydog a dramgwyddasom.

Awn rhagom yn awr i nodi allan rhai pechodau ag yr ymwna y Saint yn aml a hwynt, ac am ba rai y rhaid iddynt edifarhau.

ENLLIB.—Y mae yn eich mysg y rhai nad ymattaliant i enllibo eu brodyr a'u chwiorydd. Drwg dirfawr ydyw hwn, a ellir ymwneud ag ef mewn gwahanol raddau o ormodedd. Gallwch enllibo personau ag ydynt yn hollol ddiniwed, yn unig oblegid eich bod yn dychymygu eu bod yn euog; fe ddichon y gwelsoch rhyw amgylchiadau a achosant i chwi gael drwg-dybiau; ac yn lle claddu y drwg-dybiau hyn yn eich mynwesau eich hunain, roddwch gyhoeddusrwydd iddynt, ac efallai gyda lliwiad ychwanegol.; eich drwg-drybiau eich hun a gynnyrchant anngariad attynt, a cheisiwch greu y teimladau annghydunol hyn yn eu herbyn mewn eraill. Ni lefarwch yn gyfeiriol i'w herbyn, canys dynoethai hyn chwi fel enllibwr agored, ac, yn rhanol, a ddinystrai eich dylanwad, Mewn trefn i'ch henllibau gael yr effaith mwyaf sydd yn ddichonadwy, a chaffael gradd o grediniolrwydd, ac achosi niwed mwy, gwisgwch hwynt a chrefyddoldeb. Rhagrithiol ledrithiwch nad hoff genych son am eu beiau; eithr gofalwch yn dda i awgrymu, mewn modd gofalus a dall, rhyw fawr ddrwg, gan adael yr argraff fod rhywbeth hypod

bwysig, am yr hyn na chwennychwch son. Ac felly ceisiwch reddfu chwerwder teimlad a rhagfarn yn meddyliau eich gwrandawyr. Gwae chwychwi! canys gwell fyddai i chwi gael eich bwrw i eigion y mor, nag i anghyfiawn dramgwyddo y rhai sydd ddiniwed gerbron Duw. Gwae chwychwi! canys eich rhagrith a'ch twyll a gant syrthio gyda phoen ar eich penau eich hunain.

Etto, gallwch enllibo personau ar nad ydynt yn hollol ddiniwed. Gallwch eu dynoethi i eraill a ddylent gael eu cadw mewn anwybodaeth o'u beiau, hyd oni chymmerir yr iawn ffordd tuag attynt, yn ol cyfraith Duw. Ceisiwch wneuthur eu pechodau yn gyhoeddus, ac i greu rhagfarn yn mysg y Saint yn eu herbyn. Ni cheisiwch eu hachub, ond eu dinystrio. Gosodwch eich hun yn nghyffwr dinystrydd. O'r diafol y mae y fath ysbryd, canys ei ymgais sydd hefyd i ddinystrio, ac i gyhuddo y Saint, a chynhyrfu digofaint i'w herbyn. A ddilynwch chwi yn ol ei draed ef? A enllibwch neu a ddrwg-lefarwch am eich brawd neu eich chwaer a bechodd? A geisiwch chwi sathru y Sant gwan i lawr i Uffern, oherwydd ei oddiweddu gan fai? Cofiwch, os hyny a wnewch, nid yn hwy y byddwch Iachawdwyr dynion, ond eu dystrywwyr. Gadewch, gan hyny, eich henllibau yn erbyn y troseddwr. Peidiwch a thaenu ei ddrwg-weithredoedd ar benau y tai. Peidiwch a roddi cyhoeddusrwydd i'r hyn a niweidia ac a ddinystria. Gadewch eich hathrodau a'ch drwg soniadau yn erbyn eich gilydd. Gadewch eich sisian ynghylch eich materion teuluaidd eich hunain, neu eiddo eich cymmydog.

Gofaled pob person am fusnes ei hun,
A thyned o'i lygad y trawst pwysfawr blin;
A chadwed ef allan fel gwelo yn glir,
Gan buro ei galon i dderbyn y gwir.

Os awydd fydd arno enllibo rhyw ddyn,
Gwnaed hyny yn ffyddlon am dano ei hun,
Ei ddrygfawr weithredoedd f'ont iddo yn boen,
A ch'wilydd, nes delo'n ddiniwed fel oen.

Llesolwn gymmydog, neu peidiwn a'i drin,
DIWYGIAD a gerfier ar galon pob un.
Ein harwyddair fyddo o heddyw yn mlaen,
Y Bywyd Trag'wyddol a elo ar daen.

Dyledswydd yr athrawon a ymwelant o dŷ i dŷ ydyw chwilio yn ddyfal ar ol ysbryd a theimladau y Saint. Chwiliwch allan yr enllibwr—yr athrodwr—y drwg-lefarwr. Annogwch hwynt i edifarhau ar frys. Perwch gywilydd iddynt am eu hymadroddion celid. Dysgwch hwynt nas gall un person, a ddelir mewn cymdeithas gan y Saint, gael son drwg am dano heb bechod. Dysgwch iddynt gyfraith Duw, a pha fodd i ymdrin a throseddwyr, mewn trefn i'w hachub. Dysgwch nas gall y dieuog na'r euog yn mhlith y Saint gael eu henllibo, heb ddwyn condemniad ar yr

enllibwyr. Dysgwch hwynt os na ddiwygiant yn y pethau hyn, hwynthwy eu hunain a wywant ymaith, ac a gant eu taflu allan o blith pobl Dduw.

Y PECHOD O YSGAFNDID MEDDWL.—Y mae rhai yn mysg y Saint sydd a'u meddyliau yn ysgafnach na'r us. Gallai un feddwl wrth eu ding dong tragywyddol o *jokes* ac ymadroddion ysgafn, fod eu penau yn amddifad o ymenydd, gan fod naill ai yn wag, neu yn y man mwyaf yn llawn o ryw "gwd y mwg" diwerth. Synwyr cyffredin neu feddwl sobr sydd mor brin gyda hwy ag ydyw ffigys ar ddraenen. Pa fodd y gwnaeth yr efengyl erioed unrhyw argraff ar y fath siolau sydd annirnadwy. Rhaid eu bod wedi ystyried cynllun yr iachawdwriaeth yn *joke*, ac wedi penderfynu ei dderbyn er cellwair. Os sonia y fath gymmeriadau am Dduw, y mae er dywedyd rhyw chwedl ddigrif; os cyfeiriant at ysgrythyr, y mae i'w helpu allan a ryw ystori gellwerus. Os cyfeiriant at ordinhadau cyssegredig, rhaid cynnwys yn y frawddeg ryw ddywediad a baer chwerthin. I lefaru brawddeg sobr, neu feddwl meddwl sobr, a fyddai yn agos digon i osod gwaew yn eu penau. Mewn gair, meddyliant nwy (*gas*); siaradant nwy, cysgant mewn nwy, oesant mewn nwy, a nwy a ymddengys fod yr unig elfen ag sydd yn myned i mewn i'w cyfansoddiadau.

Ewch i mewn i rhai o dai y Saint, a gwrandewch ar ymddiddan y brodyr a'r chwiorydd ieuainc, ac yn lle clywed synwyr pur mewn perthynas i ardderchawgrwydd a gogoniant y grefydd a gofleidiasant, chwi a glywch *joke* am y dyn ieuanc hwn, neu yr eneth ieuanc acw, neu rhyw briodas sydd oddeutu cymmeryd lle, neu ryw garwriaeth a fyddo yn myned yn mlaen, neu am gariad hwn neu hon. Mae y fath ymddiddan yn dda ddigon ar brydiau, ac o dan rhai amgylchiadau yn ddiniwed; eithr pan ymfwynheir yn y fath bethau o hyd, nid oes lle yn ngweddill i bethau pwysicach teyrnas Dduw; tristeir Ysbryd Duw ymaith, a llenwir y gwagle a adawir yn y galon a sothach, yr hon a arddengys ei diwerthrwydd mewn ymadroddion ysgafn; "canys o helaethrwydd y galon y llefara y genau."

Ni eill Sant i Dduw ymwneud ag ymadroddion ysgafn i ormodedd heb deimlo cyfartal ddiffrwythder meddwl. O'r fath bethau dywedwn wrth y Saint, Edifarewch. Darfyddwch a chellwair ffol, ag ymadroddion ysgafn ac ofer, pob ystoriau drygionus a llygredig, pob ymddiddan anfuddiol; o hyn allan, bydded i'ch hymadrodd, a'ch hystoriau, a'ch diarhebion, a'ch holl ddywediadau doethion, gael eu hyfforddi gan ysbryd y gwirionedd er adeiladaeth, ac addysg, a cherydd, wedi eu haddas ethol, a'u haddas amseru, fel y byddo da, ac nid drwg, yn y canlyniad; canys i'r perwyl yma y cynnysgaethir dyn a'r ddawn o ymadrodd. A gawn ni achosi i ddawn Duw wasgaru hadau marwolaeth yn lle bywyd? Cofia mai wrth dy eiriau y'th gyfiawnheir, ac wrth dy eiriau y'th gondemnir.

## DYLEDION AM LYFRAU, MAWRTH 31, 1857.

| Cynnadledd | | | |
|---|---|---|---|
| Brycheiniog | 7 | 12 | 7 |
| Mynwy | 55 | 18 | 5 |
| Morganwg Ddwyreiniol | 105 | 3 | 11 |
| „ Orllewinol | 126 | 1 | 6½ |
| Llanelli | 56 | 12 | 0 |
| Caerfyrddin | 24 | 16 | 0 |
| Sir Benfro | 8 | 2 | 7½ |
| Aberteifi | 16 | 11 | 7 |
| Feirionydd | 10 | 17 | 3 |
| Fflint | 17 | 17 | 11½ |
| Ddinbych | 15 | 9 | 8½ |
| Fon a Dyffryn Conway | 11 | 13 | 3 |
| | £456 | 16 | 10 |

TALIADAU o Mawrth 6 hyd Ebrill 29.—C. Harman, £4; A. L. Jones, £3; J. J. Phillips, £2; M. Vaughan, £2 10s; Wm. Ajax, Môn, £2; Dd. John, £3.

Etto, am Draethodau.—A. L. Jones, £9; M. Vaughan, £2 10s; C. Harman, £1 10s; David John, £1 15s; W. Ajax, Môn, £3,

GWIRFODDOLIAID y Fyddin Formonaidd! Eich hamser i gychwyn tua maes y frwydr a ddaeth—y Cadfridog Jones sydd yn chwythu ei gorn yn uchel yn y Gogledd-dir—y gelyn sydd yn brysur—chwychwi a bia y fuddygoliaeth, ac a ennillwch y gonest-galou i deyrnas yr Iesu, Duw ei hun sydd yn edrych wrthych! Pwy, ar nad yw barod?

CYNNWYSIAD.




ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 11.] MAI 16, 1857. [CYF. X.

### LLYTHYR ODDIWRTH YR HENURIAD HENRY HARRIES.

Caerfyrddin, Ebrill 22, 1857.

Anwyl Frawd Daniels,

Llawer ydynt y gofyniadau a ofynir i mi mewn perthynas i'r Indiaid yn lladd y cwmnioedd ar y Gwastadedd, &c. Nis gwn am un ffordd yn well na hon i'w hateb oll ar yr un waith, os gwelwch yn dda i'w udganu trwy eich "Udgorn," fel y clywo pawb y modd y bu, mor belled ag yr wyf fi yn deall yn ei gylch.

Yr oedd yr Indiaid a elwir Sheyhans [nid Cheynees] yn gwersyllu ar lan yr afon *Little Blue*, ychydig tu yma i Fort Kearney, pan ddygwyddodd y mail ddyfod heibio; danfonodd eu blaenor ddau o'i fechgyn ef ar geffylau i gyfarfod a'r mail, gan ofyn am dybaco, canys yr oeddynt yn arferol o'i gael gan wyr y mail, bob tro y gwelent ef yn dyfod y ffordd hono, ond pan ddaeth y ddau Indiad i'w cyfarfod hwynt, ni wnaethent aros i siarad a hwynt. Ar hyn yr Indiaid, gan eu bod ar geffylau, a ruthrasant o flaen y mail, gan dreio ei attal, i'r dyben o gael dybacco i'w mheistr, ond ni wnelai gwyr y mail un sylw o honynt. Pan welodd yr Indiaid hyn, ymdrechent eu goreu i'w hattal, trwy floeddio mor ofnadwy nes iddynt ddychrynu y mule oedd yn y mail, hyd onid aethant allan o'r track arferol, a chyda hyny tynodd y *guard* ei bistol, gan saethu at un o'r Indiaid, ond methodd ei daro ar ei ben, eithr aeth y fwlet trwy ei wallt heb ei niweidio. Gyda hyny, trodd yr Indiad, gan dynu ei fwa, a saethodd y *driver* yn ei arddwn, yr hyn a'u rhwstrodd hwynt i fyned yn mhellach, ac wedi iddynt aros, rhoisant y tobacco oll,

gydag Indian Corn a dillad, a da gweled y ffordd i hyny, canys yr oedd yr holl wersyll yn dyfod i fyny. Yna yr Indiaid a'u cynnorthwyasant, gan dynu y saeth a rhwymo y garddwn, a'u gosod hwynt ar y track arferol, gan ystyried mai mewn byrbwylldra a cham ddealltwriaeth y cymmerodd hyn oll le, ac nad oeddd bwriad drwg gan yn y naill na'r llall. Felly ymadawsant mewn heddwch, yr Indiaid i'w gwersyll, a'r mail tua Fort Kearney, ac y mae yn debyg i wyr y mail ddywedyd yn Fort Kearney fod yr Indiaid wedi bod ar eu hol, gan dreio eu dal, ond iddynt hwy eu hoedi trwy daflu eu dillad ar hyd y ffordd, fel y dywed Cadben Jones yn ei lythyr, a phan glywodd y prif swyddog yn Kearney hyn, danfonodd y Meirch-filwyr allan i ddial arnynt am hyny, a phan ddaethant i'r gwersyll, cawsant yr Indiaid yn llawen wrth eu tanau yn rhostio y *corn* a gawsant gan wyr y mail, ynghyd a'r dillad a'r tobacco a gawsant, heb feddwl fod un drwg yn canlyn, ond cyn siarad dyma y milwyr yn bwrw arnynt. Lladdasant o ddeg i ugain o honynt, a diangodd y lleil am eu heinioes.

Hyn oedd y peth a lidiodd yr Indiaid gyntaf, ac y mae yn gyfraith ganddynt os lladd neb ddynion gwynion un o honynt hwy, nid oes heddwch i fod nes cael iawn, ac ni wna ddim a tro fel iawn ond gwaed rhyw ddynion gwynion, gan nad pwy y fyddont; nid oes wahaniaeth pwy—y cyntaf a ddeuant i'w golwg, gan nad pwy fyddant, Felly cyfarfyddasant a gwersyll Babbitt, yn cynnwys 5 wagen; lladdasant bedwar o honynt, a diangodd y bumed, sef yr unig Formon ag oedd yno, ac yno yr oedd y wraig y soniai Cadben Jones am dani; lladdwyd hi a'i baban; ni chefais gymmeriad drwg iddi hi fel y lleill, er nad oedd hi yn yr eglwys, ond wedi bod, ac yn bwriadu bod etto yn ol cyrhaedd y Dyffryn, ond nid oedd yn ddoeth ynddi hi fyned gyda'r fath annuwiolion, a'r rhai a gawsant eu lladd. Yr ail gwmpeini gyfarfyddodd yr Indiaid a hwynt oeddynt yn Galiffoiniaid; nid oes genyf mo'u rhif, na fawr o fanylion am danynt, fy mod yn cofio gweled cwmpeini yn myned heibio y Dyffryn yn yr Haf diweddaf, pan yr oeddwn yn dyfod i waered o Box Elder. Bum yn cyd-deithio a hwy am yspaid, eithr nid wyf yn coffo eu rhif, ond fod rhai yn marchog ar fulod, ac un dyn a benyw mewn wagen. Trwy hir siarad, cefais allan mai *Dutchman* oedd y dyn oedd yn ymddiddan a mi, a'i fod wedi dyfod yn Formon i'r Dyffryn flynyddau yn ol, ac iddo fyned oddiyno i Galiffornia, a gwneud ei ffortiwn yno, a'i fod yn myned yn ol i'r Talaethau i wneud ei artref, a dywedodd fy mod innau yn ffol os aroswn yn slwt "dwll uffernol" a'r Dyffryn, a minnau yn gollwng ei ffordd iddo; gan ei fod wedi bod yn Sant unwaith, nid mewn anwybodaeth yr oedd yn siarad, ond o fwriadol ddrygioni ei galon, ac yr oedd llythyrenau melynion lled hynod ar ochr y wagen, pa rai a adnabyddais yn union, pan y gwelais hi yn dyfod wrth gwt un o wageni y Bishop Smoot ar lan afon Plate, pa un oeddent wedi ei chael

ar y ffordd heb ddyn yn agos atti, lle i gasglu eu bod oll wedi eu lladd. Er fod y dyn hwnw wedi bwriadu gwneud ei artref yn y Talaethau, ac wedi gwneud ei ffortiwn, yr oedd hyny, yn y diwedd, yn annigonol i gadw ei fywyd ar y Gwastadedd.

Y drydydd gwmpeini oedd T. Margetts a Cowdy, ynghyd a'u gwragedd a'u plant. Hanes y personau hyn sydd hysbys eisioes.

Y pedwerydd gwmpeini oedd Col. Babbitt ei hun. Oherwydd ei ffolineb ef a'r ddau ag oeddent gydag ef, sef meddwi, a myned i ddannedd yr Indiaid o'u gwirfodd, er yr holl berswadio a wnaed arno yn Kearney.

Dyma yr oll a laddwyd yn ol fy ngwybodaeth i, ond gwn hyn, neu o leiaf yr wyf yn credu, fod mwy o fai ar y dynion gwynion nag oedd ar yr Indiaid yn y man cyntaf, ac yr oedd yr Indiaid yn gwybod hyny yn eithaf da, canys yr oeddynt un diwrnod, cyn i ni fyned heibio i Fort Laramie, wedi danfon cenad yno i gynnyg heddwch, oherwydd eu bod hwy wedi cael eu rhif i fyny, a'u bod yn ystyried eu hunain yn rhydd a hwy, ac hefyd fod un' wraig wen gyda hwy allan yn y mynyddau, ac y rhoddent hi i fyny, os caent hwy yn rhydd un honynt eu hunain, sef yr hwn oedd wedi ei ddal er ys tua dwy flynedd cyn hyny am ryw drosedd a'i garcharu yn Fort Laramie.

Gwelwch yn awr nad oedd y bai ar yr Indiaid, ac y mae yn hawddach o lawer genyf fi i gredu yr Indiaid na chredu y bobl gwynion drygionus. Byddai yn well genyf o lawer i ymddiried fy mywyd yn nwylaw yr Indiaid, na chyda llawer o bobl gwynion America. Ond gan nad pwy fydd ein gelynion, os byddwn yn cadw gorchymynion Duw, y mae yn sicr fod mwy o'n tu nag a all fod yn ein herbyn. Byw ein crefydd yw yr oll a ofynir genym, er i ni fwynhau pob dawn a chysur a llwyddiant yn mhob ystyr yn y byd presennol, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol.

Etto hysbysaf rhai o enwau y Saint a welais ar y ffordd wrth ddyfod. Gan na chaf gyfleustra i gael y chit-chat wrth y tân, fel y nodwyd yn flaenorol. Yn gyntaf, yn Florence, gwelais y brodyr Lewis J. Davies, Cefnmawr, Phillip Vaughan, Mountain Ash, D. Evens, Caerdydd, William Hughes, o'r Gogledd, John Richards o Aberteifi, ac Isaac Green o Mynwy, oll yn iach, ac yn gwneud yn dda.

Etto yn Grovoi, ger St. Louis, cyfarfyddais a John Powell, William Rees o Georgetown, William Roderick, Hannah Watkin o Llanarth, Aberteifi, chwaer Hughes o'r Gogledd, Thomas Roderick, Penfro, John Roberts, Morganwg, Margaret Davies, merch Thomas Jones, Gellydeg, ger Merthyr, Jane Jones, merch Jennet Davies, ger Merthyr, David Joseph, Penydaren, a John ei frawd, ynghyd ag eraill.

Yn Caseville, gwelais Walter Roach, Llanelly, David S. Jones Merthyr, William Lewis, gynt Caerfyrddin, ac amryw eraill nad ydyw eu henwau yn gofus genyf yn awr.

Yn Ferry Hut cyfarfyddais a William Jones, David Giles, a David James.

Yn Minersville yr oedd John Pheanix o'r Gogledd, Thomas Matthias, ger Brymbo, Thomas Jones, Llanbrymbo. David Hopkins, Merthyr, Lewis M. Rees, Cwmtileri, David Davies, Aberdâr, Jonathan Ellis Green, Brymbo, John James, Tredegar, Richard Call, Rymni, William Williams, Tredegar, Joseph Joseph, o'r un lle, Thomas, David, a Catherine Morgans, Cefn Coed Cymmar, a John B. Jones, ger Brymbo.

Cyfarfyddais yn Pottsville a Daniel Davies, Llansawel, y chwaer Edwards o Abertawy, Thomas Jones, Llynlleifiad, a Thomas Thomas, Georgetown.

Yn Williamsburg, hefyd, cyfarfyddais a John Edmunds, o Llandilo.

Yr oedd y rhai hyn oll yn berffaith iach, yn gysurus, yn gwneud yn dda, yn parhau yn gadarn yn y ffydd, ac yn dymuno eu cofio at eu perthynasau a'u cyfeillion, y rhai ydynt yn rhy aml eu henwi, ac hefyd at yr holl Saint, ac yn dymuno gweled y Saint yn dyfod i'r manau hyny, lle y maent hwy, erbyn y byddant hwy yn barod i'w gadael, canys y mae gwell lle yno i gael modd i fyned yn mhellach nag sydd yn y wlad hon, Gan hyny, anwyl Saint, byddwch daer a diwyd, mewn amser ac allan o amser, nid yn unig i geryddu, rhybuddio, ac argyhoeddi, ond hefyd i waredu eich hunain allan o Babilon, cyn y bydd iddi syrthio fel llwch i'r llawr, yw dymuniad

Eich Brawd yn Nghrist,

HENRY HARRIES.

---

## ENLLIBAU Y "DAILY TELEGRAPH" YN ERBYN "MORMONIAETH."

(O'r *Star.*)

Joseph Ellis, cyhoeddwr newyddiadur yn Llundain, a elwir y "Daily Telegraph," mewn golygyddiaeth o'r 22ain ult., sydd wedi arddangos ei santaidd hoffder o enllib a chelwydd yn erbyn Mormoniaid Tiriogaeth Utah, trwy eu darlunio megis "gwarthrudd i wareidd-dra;" gan eu cyhuddo o "anlladrwydd rhyfygus," gan haeru eu bod mewn gwrthryfel yn erbyn cyfreithiau ac awdurdod yr Unol Dalaethau; gan alw eu crefydd yn "dwyll," yn "hudoliaeth," ac yn mynegu fod "gwarthrudd moesol yn ffynu yn gyffredinol yn eu plith."

Gwnaeth y Golygydd yr anghymeradwyiaethau cyfan-werth hyn heb gyfeirio ei ddarllenwyr at unrhyw brawf amddibynol o'u gwirionedd. Oni ddygwyddodd erioed i'r Golygydd fod ei ddarllenwyr yn medru gwneuthur eu hanghymeradwyaethau eu hunain? Geill unrhyw berson sydd a chyrhaedd at eiriadur Saesoneg ddaethol, heb gymhorth Golygydd, gyflawnder o eiriau gweddus, i anghymeradwyo unrhyw gyfundrefn, pa un ai gwir ai anwir; a deimlo efe duedd i gondemnio. Gwrth-ddweyd sydd un

peth; i hygoelu drwy brawf sydd beth arall. Mae y gwrth-ddywediadau yn erbyn Mormoniaeth yn fyr o un cyfansodd-beth go anhebgorol, sef, *gwirionedd.*

Rhaid i ni, er hyny, gydnabod y boneddwr am gyfleu, ar droion, wirionedd yn mhlith ei gruglwyth celwyddau. Er engh-raifft, cydnebydd fod y Saint vn anghyfnewidiol yn eu ffydd a'u hnthrawiaeth. Clywer ei dystiolaeth :—

"Yr hyn ag oeddynt yn flaenorol i'w gyriad o Nauvoo, ydynt yn awr; oesa ysbryd JOE SMITH yn BRIGHAM YOUNG; y Beibl Mormonaidd newydd sydd o hyd y ffurf gymmeradwyo o ffydd ac ymarferiad ; ac aml-wreigiaeth, y mae yn amlwg, sydd etto heb golli ei ddeniadolrwydd megis athrawiaeth hynod o'u credo."

Pa fodd y gallasai y Cyhoeddydd Llundainaidd hwn fynegu cymmaint o wirionedd yn y frawddeg hon yr ydym braidd yn methu dirnad. Yn siwr, Mr. Ellis, mae pob gair o'r frawddeg hon yn wir, oddieithr lle y newidiasoch enw Joseph i JOE; ond, er hyny, rhaid i ni dybied i'r cyfnewidiad bychan hwn gael ei wneuthur yn unig fel yn bod yn fwy barddonol neu lithrig—ddim mor arw i'r glust a hwnw o JOSEPH. Os daeth yr enw yma yn neillduol o dramgwyddol a gwrthwyneblyd i'ch archwaeth, nid oes genym un gwrthwynebiad modd bynnag i fabwysiadu eich cyfenw chwi megis gwelliant ar yr enw, ac o hyn allan, o barch idd eich hoferedd, mabwysiadwn i chwi y teitl hynod o "JOE ELLIS."

Wrth lefaru am y gwladgarwr mawr a'r enwog seneddwr hwnw, y Llywydd Young, sylwa "Joe" Ellis yn mhellach :—

"Dengys bob hanes o Utah fod yswyaeth yr arch-dwyllwrmor anwrthwynebol ag erioed."

A fydd "Joe" gystal a chyfeirio i'w ddarllenwyr un weithred neu air o eiddo y Llywodd Young, neu un athrawiaeth a ddysga, neu un ymarferiad yn ei grefydd neu ei boliticiau ag sydd yn dwyll? Ond, meddai etto,

"Cydnebydd y Saint a'r Henuriaid ei awdurdod yn ostyng-edig, ac ymgrymmant i'w eirchion."

Paham yr apwyntiodd yr Unol Dalaethau Brigham Young yn Llywodraethwr, os nad oeddynt am i'r Saint a'r Henuriaid, a phob dinasyddion eraill o'r diriogaeth hono gydnabod yn ostyng-edig ei awdurdod, ac ymgrymu i'w eirchion?

"Y grwgnach a'r achwynigdau" meddai y Golygydd, "a gyfodant yn achlusurol, a ymddargosant eu bod yn tarddu yn benaf o ddyfodwyr newydd anarferol i'rrh eolhaiarnaidd a'u herys eithr buan y cant allan nad oes ganddynt ddewisiad ond ufydd-dod neu enciliad ; ac y maent yn ffortunus os, ar y gost o gael eu hyspeilio o'u heiddo, byddant yn alluog i ymwthio allan o afaelion y rhwyd Formonaidd."

Nid yw cyfreithiau ac awdurdodau Utah yn gwahardd "dyfodwyr newydd," nac hen ddyfodwyr, rhag grwgnach ac achwyn a fynont. Meddant y rhyddid perffeithiaf yn hyn ; nid oes mwy gwahardd-

iadi achwyn yn Utah a sydd yma yn Lloegr .Pa beth a feddylia y Golygydd wrth "y rheol haiarnaidd a erys" y dyfodwyr nis gallwn ddychymygu. A feddylia efe fod cyfreithiau y Diriogaeth, a gyflwynwyd i Gongress yr Unol Dalaethau, ac a gefnogwyd ac a gymmeradwywyd gan y corff medrus hwnw, yn "rheol haiarnaidd?" A feddylia efe fod y Llywodraethwr, a'r Barnwyr, a'r awdurdodau eraill, a bennodir gan y Congress, yn "rheol haiarnaidd?" A feddylia efe fod gweinyddiad y cyfiawnion a dilwgwr hyn yn "rheol haiarnaidd?" "Ond, medd Joe Ellis, wrth son am y dyfodwyr newydd, "buan y cant allan nad oes ganddynt ddewisiad, ond ufydd dod neu enciliad." Nid hollol gywir, Mr. Golygydd, gofyna gyfreithiau Utah ufydd-dod neu gospedigaeth, yn ol natur y trosedd. Nid yw enciliad neu alltudiaeth yn un rhan o gospiad cyfreithiau Utah. Os bydd i ddyn lofruddio, godinebu, neu unrhyw farwol drosedd arall. nid oes ganddo y dewisiad o "gilio." Os bydd i ddyn fforffetio ei eiddo trwy ddirwyon, neu trwy ddyledion, efe a "ysbeilir" o swm ddigonol i foddloni gorfod-ofynion y gyfraith, a dim yn ychwaneg. "Gafaelion y rhwyd Formonaidd" ydynt ddigon cryf a llydan i ddal y naill a'r llall o bersonau ac eiddo, lle y fforfetir yr unrhyw yn gyfreithlon. Os hyn a feddylia y golygydd wrth y rheol haiarnaidd, teimlwn yn falch i gydnabod y fath lywodraeth ddilwgwr.

Wrth son am y Llywydd Young, sylwa y Golygydd,

"Gan fethu a goddef unrhyw awdurdod ond yr eiddo ei hun y mae o hyd yn ymalffyst ag eiddo yr Unol Dalaethau."

A bwyntia y Telegraph allan un weithred unigol o eiddo y Llywydd Young naill ai yn ei gylch dirgelaidd neu swyddogol yn mha un y treisiodd Ffurf Lywodraeth yr Unol Dalaethau, neu y gwrthryfelodd yn y man lleiaf yn erbyn y Llywodraeth hono? Heriwn yr holl fyd i ddwyn y mymryn lleiaf o brawf yn ei erbyn ef neu yn erbyn yr Eglwys dros yr hon y llywydda mor fedrus, i hygoelu cyhuddiadau gan ac aml adroddedig hyn. Ond gwrandawer! Gadewch i ni gael clywed pa beth a ddywed yr enwog Olygydd Joe yn mhellach.

"Un o gampau diweddaraf Brigham Young a'i gydymeithion, ydyw llosgiad cofysgrifau Prif Lys Utah, ynghyd a thua naw can cyfrol o gyfraith, a berthynent i Swyddfaau y barnwyr dosparthiadol.

Cyhuddiad pwysig ydyw hwn yn wir, pe byddai yn wir, eithr y mae yn amddifad o'r elfen hanfodol hono a elwir gwirionedd. Eithr ni rhaid cyhuddo Joe a dyfeisiad y chwedl yma; ymwreiddiolodd yn San Francisco, California, tua wyth can milltir o Llyn Halen. Ei hawdwr ydoedd yr hynod Farnwr Drummond, yr hwn, ar ei appwyntiad fel Barnwr Dosparthiadol i Utah, a adawodd ei wraig garedig yn Illinois, ac a gymmerodd gydag ef foneddiges gyfodedig, gyda yr hon y buodd fyw yn droseddus, a'r hon a alwodd Mrs. Drummond. Ar ei gyrhaeddiad, dygwyddodd yn y fath fodd ag i rhai o berthynasau ei wraig a

breswylient yn y Diriogaeth ddarganfod ei ddrwg, a'i wneuthur yn gyhoeddus; a'r Barnwr cyfiawn, crefyddol, yn ddilys, a ystyriodd yn ddoeth i ymlwybro tua Chaliffornia. Efe a ffugenwodd yr ystori ddifyr yn nghylch aelodau Deddf wneuthurfa Utah, yn bod yn gloff a byr-olwg. Eithr "Joe" o'r *Telegraph* a gydnebydd yn deg iawn nad eill efe "ddeall ond ychydig ag sydd amddibynol," o Utah, a thueddir ni i gredu y rhaid fod ei *stock* o hysbysiaeth yn fychan iawn yn wir, pan y try at y fath athrodiaethau gwael a gwrth-ddywediadau anweddaidd.

Meddai y *Telegraph*, y Barnwr Drummond sydd yn

"Cyfeirio at rhybudd a gyflwynwyd ganddo ef, ar ddeddf a wnaed gan Ddeddf wneuthurfa Tiriogaeth Utah, yn darparu dros gospiad ymdrafodiad aml-wreigyddol.

Deddfau Utah ydynt yn gyhoeddedig, a chrefwn i hysbysu y *Telegraph* nas gellir ffeindio y fath gyfraith yn y gyfrol, ac ni phasiwyd un weithred erioed yn condemnio y sefydliad ddwyfol o aml-wreigiaeth hono. Deddf wneuthurwyr y diriogaeth hono ydynt yn feddiannol ar ormod o synwyr da i basio y fath gyfraith lygredig, anghyfiawn, a gwrth-ysgrythyrol.

Ond gadawn i Joe barhau ei ystori; dywed

"Gan y Mormoniaid delir Brigham Young fel gwell awdurdod na'r Barnwr Drummond, [eithaf gwir, Mr. Golygydd, gellwch ddweyd y gwir ar droion.] ac fel y cyfaddefa yr olaf yn rhwydd, yr unig gyfraith a ellir ei gorfodol weinyddu yn Nhiriogaeth Utah ydyw cyfraith yr Eglwys o'r hon, fel y mae yn bod, y blaenaf yw y prif ddehonglydd."

Dyna gelwydd hyll-noeth. Mae cyfreithiau gwladol Utah yr un mor annibynol o gyfreithiau eglwysig ag unrhyw rhai mewn unrhyw diriogateh yn yr Undeb. Rheola pob enwad yn Utah ei haelodau ei hun, wrth ei dysgyblaeth ei hun, tra y dyry y cyfreithiau gwladol i bob un gyfartal amddiffyniad. Nid oes gan Saint y Dyddiau Diweddaf mwy o iawnderau neu freintiau crefyddol yn hawliedig arnynt gan gyfreithiau gwladol Utah nag sydd gan y Methodistiaid, Bedyddwyr, Crynwyr, neu unrhyw enwad arall.

Haera y *Telegraph* yn mhellach fod Brigham Young

"Yn awr yn ymgynnyg at ymgodiad tymhorol yn ogystal ag ysbrydol—ymgymmeriad peryglus, fel y mae efe yn gyflyredig, gan, o anghenrheidrwydd, y gorfoda y llywodraeth Americanaidd, ar nad pa mor anfoddlawn y dichon fod i ymyraeth, i osod i lawr y fath ymgystadleuwr rhyfygus am ei hawdurdod hawliedig ei hun."

A hysbysa y Telegraph ei ddarllenwyr pa ymgodiad tymhorol y mae y Llywydd yn awr yn ymgynyg atto? Mae yr Unol Dalaethau wedi ei apwyntio i'r post uchaf o anrhydedd yn y diriogaeth. A ymgynygia at rhyw swydd sydd yn uwch byth? Neu a ydyw efe wedi ymgymmeryd unrhyw alluoedd tymhorol ar nad ydyw y Llywodraeth Americanaidd wedi osod yn y swydd o Lywodraethwr? Yn mha fodd yr ystyrir y Llywydd Young

yn "ymgystadleuydd rhyfygus" i'r Unol Dalaethau? A ydyw efe wedi cynhyrfu rhyfel, mewn naill ai air neu weithred, ar Ffurfiad, cyfreithiau, neu awdurdod y llywodraeth hono? A ddangosodd efe erioed dymuniad lleiaf i daflu ymaith y ffurf o Werin-lywodraeth, a sefydlu rhywbeth arall yn ei lle? Atteb y *Telegraph* i'r gofyniadau resymol hyn, a ddyry rhyw oleuni i'w ddarllenwyr, ac a adlewyrcha lawer mwy o anrhydedd ar dalentau JOE nag enllibau cyfan-werth yn erbyn pobl diniwed ac erlidiedig.

"Dilys genym," (meddai etto,) ei olygir megis dyledswydd gorfodol, ar rhan yr Unol Dalaethau, i wyrdroi yr holl gyfundrefn o lywodraeth Formoraidd."

Yn awr y mae gan y Mormoniaid ddau fath o lywodraeth: un yw eu llywodraeth Eglwysig, a'r hon nid oes gan yr Unol Dalaethau un hawl i ymyraeth; y llall sydd yn ffurfo Lywodraeth Werinol, a sefydlwyd gan yr Unol Dalaethau, eu hunain, er lleshad, nid yn unig y Mormoniaid, ond pawb pobl eraill a ddeuant yn ddinasyddion Utah. Y ffurf olaf hon o lywodraeth, nid oes gan y Congress un hawl i wyrdroi neu gyfnewid heb ddinystrio ei adeiliad Cyfansoddiadol ei hun. Nid oes gan hyny, i ddysgwyliadau ymddyriedol JOE ond cyfleustra anfanteisiol iawn o gael eu cyflawnu, tra yr erys y genedl Americanaidd yn Werin-lywodraeth.

Dywed "Joe,"

"Y Llawenhaai o galon am unrhyw gamrau a ddichon gael eu cymmeryd gan y Llywodraeth Americanaidd i dorri i fyny y twyll aruthrol yma, yr hwn sydd yn glwyf crawn gasglog ar gymdeithas, ac yn uchel alw am wellhad."

I frysio mwynhad o'i lawenydd, oni fyddai yn fawreddog i Joe gymhell yr ail sefydliad o'r "Ymholiad Santaidd?" Oni feddyliwch, syr, y gwnai gosodiad ychydig gannoedd o filoedd o Formoniaid i farwolaeth gan olygyddion crefyddol, adlewyrchu mawr anrhydedd ar eich proffes? Feallai y bydd eich tyb ffrwythlawn yn alluog i awgrymu i'r Unol Dalaethau, rhyw gynllun canmoladwy o ddinystrio y pedwar ugain mil o ddynion, benywod, a phlant a ettifeddant Utah. Oni allai JOE adael y gadair olygyddol, am ennyd fychan, a chynnyg gwasanaethu megis prif-archwr terfysg-lu i gamru yn erbyn y Mormoniaid didramgwydd?

## CYNNADLEDD BRYCHEINIOG.

Black Rock, Llanelli, Brycheiniog, Mai 8, 1857.

Anwyl Frawd Daniels,

Yr wyf yn ysgrifenu y llythyr hwn i'r dyben o hysbysu sefyllfa pethau yma. Y mae y Swyddogion a'r Saint yn teimlo yn dda gyda gwaith yr Arglwydd. Yn bresennol y maent yn ddiwyd yn dosparthu traethodau o dŷ i dŷ, ynghyd a thystiolaethu a

phregethh allan ar y Suliau, ac yn yr wythnos hefyd. Dyma sefyllfa y brodyr a'r chwiorydd sydd wedi adnewyddu eu cyfammodau, ac yn byw eu crefydd. Rhifedi y rhai sydd wedi cydsynied a'r Diwygiad, mor belled ag y deallaf, yw 60.

Y Degwm a dalwyd y mis diweddaf i mewn yw £5 4s. 7c.

Ein Dyled presenol yw £1 12s. 9c.

Ydwyf, eich brawd yn yr Arglwydd,

NOHJ THOMAS.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MAI 16, 1857.

HWYLIAD.—Y Llong "Westmoreland," Cadben R. R. Decan, yn dynghedol i Philadelphia, a gliriodd ar y 24ain o Ebrill, ac a hwyliodd ar y 25ain, ag ar ei bwrdd 540 o eneidiau o Saint o'r genadiaeth Scandinafaidd, heblaw pedwar o genadon dychweledig o Loegr.

Bendithion y nef a fyddont gydfynedol a'r Saint hyn, eu gwaredu rhag rhag peryglon y môr, ac a roddo iddynt gyrhaeddiad diogel i'w tynghed fan.—*Star.*

Mae Cynnadledd Ddwyreiniol Morganwg trwy hyn yma yn cael ei rhanu yn ddwy; un o ba rhai sydd i'w galw yn Gynnadledd Caerdyf; y llall i gadw yr enw gwreiddiol. Y rhaniad i gael ei wneuthur o dan gynghor a chyfeiriad y Llywydd Daniel Daniels.

Apwyntir yr Henuriad Samuel Roskelly i lywyddu dros Gynnadledd Caerdyf, a gofynir iddo wneuthur y corfforiad angenrheidiol, trwy apwyntio Prif Lyfr Ddosparthwyr, dethol Henuriaid Teithiol, &c.—*Star.*

CYMMANFAOEDD y cynnadleddau Cymreig a gynnelir aryr amseroedd canlynol yn y llefydd a enwir:—

Mai 17, Sir Benfro, Gorllewin Morganwg, a Meirionydd.
Mai 24, Morganwg Ddwyreiniol, Llanelli, a Môn.
Mai 31, Mynwy, Caerfyrddin, a Dinbych,
Mehefin 7, Caerdyf, Sir Aberteifi, a Sir Flint.

Bwriada y Llywydd Daniel Daniels fod yn bresennol yn nghymmanfaoedd Gorllewin Morganwg, Llanelli, Caerfyrddin, a Sir Aberteifi. y Llywydd Taylor yn rhai yn y Gogledd, a'r Llywydd Miller yn y gweddill.

LLWYDDIANT gwaith yr Arglwydd yn y Genadiaeth Scandin-

afaidd sydd yn ein hadgoffa am sefydliad yr Eglwys yn Nghymru, yr erledigaethau a'r amseroedd hyfryd a gafwyd. Yn ystod yr hanner olaf o'r flwyddyn ddiweddaf, bedyddiasant 575 o bersonau, er gwaethaf ymegniadau offeiriaid Baal, a'r awdurdodau gwladol. Mae y gwaith yn llwyddo a lledaenu, a'r Arglwydd sydd yn wir yn bendithio ymdrechion yr Henuriaid a'r Saint, y rhai sydd yn gyffredin yn ffyddlon mewn tystiolaethu a thraethodi. Anfonwyd £919 16s. 2g., am yr hanner blwyddyn i Swyddfa Lerpwll, heblaw fod y gwaith cartrefol i'w gynnal. Darparai 788 o honynt i ymfudo y Gwanwyn hwn. Y degwm ar waith mewn grym.

Ein ffyddlondeb ninnau yn Nghymru i draethodu a phregethu, a chynnal y gwaith, a'n hymprydiau a'n taerion weddiau dros lwyddiant gwaith ein Duw a esgyno megis arogl-darth peraidd ger ei fron Ef, fel ag i deilyngu y llwyddiant yr hiraethwn am dano.

Da genym weled effeithiau daionus y diwygiad. Parhau i ddiwygio a wnelom, canys y mae amser prysur wrth y drws, a Duw yn darparu ei bobl. Materion pwysig sydd ar droed yn Seion, i ddarparu gyferbyn a'r dyfodol, ac, feallai nad hir cyn agorir ystafelloedd y mynyddoedd tragywyddol, er i'r ffyddloniaid ymguddio rhag llidiawgrwydd dynion a chythreuliaid, yn ogystal a rhag barnau Duw.

LLYWYYDDIAETH Tiriogaeth Utah, fel y deallwn wrth y *Mormon* am Mawrth 28ain, a gynnygiwyd yn ddiweddar i'r Anrhyd. Fayette McMullen o Virginia, gan y Llywydd Buchanan, drwy gyfrwng pump o aelodau y Congress, eithr ni chawsant ateb pendant. Gofynai yr anrhydeddus foneddwr amser i adfyfyrio. Sylwadau y "*Mormon*" ar y pwnc ydynt fel y canlyn :—

"Mewn manau eraill mynegasom ein golygiadau o appwyntiadau i Swyddau llywodraethol Utah, gan hyny ni ychwanegwn ond, os meddylia y Llywydd Buchanan am ei etholiad ei hun yn bod yn fynegiad o'r ewyllys boblogaidd, efe a feddylia am yr ewyllys boblogaidd yn Utah. Ei Rhagoroldeb y Llywydd Young ydyw dewisiad y bobl hyny ; eithr pe cylchrediad fyddai y drefn, ac *a rhaid fod y drefn*, nid oes un angen am redeg i Virginia nac unman arall allan o Utah i gael y dyn iawn i'r lle iawn. Gwna yr Anrhydeddus F. Mc Mullen yn dda i ystyried—ac felly gwnai pawb oddiamgylch. Fe ddylid parchu dymuniad dinasyddion Utah gymmaint ag eiddo unrhyw Diriogaeth arall.

Yn y *Morwon* am Ebrill 25 darllenwn y dityniad canlynol o'r *New York Herald*:—

"Nid oes unrhyw fesurau pennodol wedi cael eu cymmeryd ynghylch Utah. Y mae anhawsdra i ffeindio y dyn gweddus i fod yn Llywodraethwr, er fod hanner dwsin o ymgeiswyr am y swydd."

Sylwa y *Mormon* yn helaeth ar y cynhwrf ag y mae cyhoedd-

iad a chylchrediad llythyr swydd-ymadawol y Barnwr Drummond wedi ei wneuthur. Ail-gyhoedda hen ystoriau J. C. Bennett, Tom Sharp, Van Dusen, &c., ynghylch bodoliaeth "danite band," neu lofruddwyr dirgel er lladd cynnifer o elynion yr awdurdodau Mormonaidd a gaffont gyfleustra attynt, a'r pethau eraill sydd yn nechreu y rhifyn hwn. Ond y mae y drafferth yn nghylch y "fenyw newydd," &c., wedi gwneuthur niwed i'r Barnwr druan, fel ag y mae golygyddion mwyaf boneddigaidd y Talaethau wedi peidio gwneuthur sylw o hono. Er holl ddeisyfiadau pobl Utah am gael dynion o'u hetholiad eu hunain i lanw prif swyddau y diriogaeth, anfonir y fath ddynion a'r barnwr anghyfiawn a enwyd. Er rhoddi ei hanes difynwn o lythyr a ddanfonodd boneddwr o Utah, (yr hwn nad oedd yn Formoniad) at un o olygyddion y *Mormon*:—

"Pan ddaethum yma gyntaf, yr oedd genyf rhagfarn cryf yn erbyn y bobl, ac ofnais hwynt yn fawr. Cyfeillach agos a'm brodyr "anffyddiol," [sef swyddwyr yr Unol Dalaethau, &c., nad oeddynt yn Saint] ni leihaodd fy rhagfarn a'm ofnau, ond i'r gwrthwyneb, a'u cynnyddodd. Oddiwrthynt hwy y dysgais fod eu bywydau mewn perygl, yn herwydd "ymadroddion celid" a rhoddwyd yn eu herbyn gan "bennaethiaid," yr Eglwys, yn eu cyfarfodydd crefyddol; ac fod y "galluoedd ag sydd" yn wrthwynebol i'r Brif Lywodraeth, ac yn fradwyr i'w gwlad. * * *

"Ar ol byw yma am bum mis, yr ydwyf wedi cael allan y gwir achos i "ymadroddion celid" yr henuriaid, a medraf, i ryw raddau, gyfrif am ysbryd yr erthyglau ar Formoniaeth ag ydynt wedi ymddangos o bryd i bryd yn y newyddiaduron."

"Yr ydwyf wedi cael allan fod nifer o'r Anffyddwyr a'r Mormoniaid yma yn euog o gwnawdolrwydd dirfawr. Y Barnwr S—, (United States Official and Quarter Mormon,) a gafwyd, yr wythnos diweddaf, yn euog o flaen llys yr Eglwys, o odineb, a'i esgymuno o'r Eglwys, a'i gyhoeddi trwy y Diriogaeth.

"Gwn fod P—, D—, C—, (Swyddogion yr Unol Dalaethau) a phrif "Anffyddwyr" eraill, wedi bod yn euog o'r un trosedd, ac wedi hirio hen *hag* i'w cynnorthwyo yn eu bwriadau cythreulig; ac hefyd fod y Cad. B—, Dr. H—, (Swyddogion yr Unol Dalaethau) J—, ac eraill, wedi eu hymgyssylltu a hwy mewn *gamblo*, ymfeddwi, a chamddarlunio gweithredoedd a dull arweinyddion y cytundeb hwn i'r Dosbarthiadau yn Washington, (yr ydwyf wedi darllen yr ysgrifau,) ac at y wasg yn Nghaerefrog Newydd. Am fy hunan, cyfaddefaf fy mod wedi cadw eu cyfeillach i ryw helaethrwydd, ac fy mod yn euog o yfed gyda hwynt, a thrwy hyny wedi tynu anfoddlonrwydd y Mormoniaid, ond diolch i Dduw ni fum erioed yn

fy mywyd yn euog o buteindra a *gamblo*, a gobeithiwyf na fyddaf byth.

"Gŵyr yr awdurdodau [Mormonaidd] yn dda am y pethau hyn, a rhyfeddwyf am na wnaethant fwy nag ychydig "ymadroddi yn galed" yn herbyn y fath ymddygiad, pan y deallir yn dda gan Formoniaid ac Anffyddwyr fod "cyfraith y mynydd" yn *farwolaeth i'r godinebwr*. Ond tybiwyf fod ar y Mormoniaid ofn gosod y gyfraith mewn grym, gan gredu pe y lladdent unrhyw swyddog yr Unol Dalaethau, neu eu halltudio hwy a'u cyfeillion allan o'r Diriogaeth, ei wyrdroid yn wrthryfel yn erbyn y Llywodraeth, tra y mae Mormoniaeth eisioes mor anmhoblogaidd yn y Talaethau, y cyfodai yr holl wlad i ymddial, nid ar y dialydd, ond ar yr holl 70,000 Mormoniaid yn y Diriogaeth."

A yn mlaen i ddadleu dros i'r Saint yn Utah gael Swyddwyr o'u hetholiad eu hunain, ac i ddangos y gwahaniaeth rhwng aml-wreigiaeth ac anfoesoldeb. Dywed nad oes na thafarndy, na *gambling house*, na phuteindy yn y Diriogaeth, a gofyna pa bentref, tref, neu ddinas yn yr Unol Dalaethau a ellid gydmaru ag Utah.

Gorfoda diffyg lle ni i roddi pob manylion, ond cynghorwn pob Llywydd Cyanadledd a Bugail i dreio cael un copi o'r *Mormon* yn gynnar gyda y *post*, fel y gallo yn ei gynnadledd amddiffyn ein crefydd santaidd rhag cael ei drwgliwio gan blant y celwydd. Anfoner y tal am dano yn mlaenllaw i Llynlleifiad, fel y cyfarwyddwyd o'r blaen, neu bydd rhaid aros am dano yn hwy trwy y drefn ag y mae yn dyfod i'r cangenau.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH YR HENURIAD ISRAEL EVANS.

---

Llong "*George Washington*," Ebrill 16, 1857.

Llywydd Daniels,

Anwyl Frawd,—

Gan fod genyf ychydig o amser i'w hepgor, a ninnau yn agoshau i Boston, defnyddiaf y cyfrw i ysgrifenu ychydig linellau attoch, oherwydd fy mod yn gwybod eich bod yn awyddus am glywed oddiwrthym.

Hwyliwyd ni mewn i'r *Channel* ar ddydd Sadwrn, yr 28ain o Fawrth. Ar ddydd Sul, cododd y gwynt, ac aeth y môr yn arw iawn, ac o ganlyniad dechreuodd rhai o'n pobl ni fyned yn glaf, hyd nes nad oedd ond ychydig o honom wedi ein gadael i edrych ar ol y rhai oeddynt yn glaf Parhaodd y gwynt yn gryf dros amryw ddiwrnodau, yr hyn a gadwodd ein pobl ni lawr yn hwy nag a fyddent oni bai hyny. Ond oddeutu diwedd yr wythnos yr oedd y mwyrif o honynt yn lled dda.

Cawsom ddau farwolaeth yma, un hen wr o Loegr, a phlentyn o gynnadledd Southampton. Cawsom hefyd un genedigaeth. Y mae mam y plentyn wedi bod yn glaf iawn, ond y mae hi yn gwella yn raddol.

Yr ydym yn 816 o rifedi o ymfudwyr ar fwrdd y llong, ac wrth ystyried ein amgylchiadau, yr ydym wedi myned yn mlaen yn dda. Yr Henuriad James Park yw ein llywydd, a'r Henuriaid J. B. Martin a Dana yw ei gynghorwyr. Yr ydym wedi ein rhanu yn ddosbarthau, o ba rai y mae pump. Y mae y cyntaf dan fy ngofal a'm esgobaeth i, yr Henuriad J. C. Hall yn esgob ar yr ail, yr Henuriad Ashby ar y trydydd, yr Henuriad Carrigan ar y pedwerydd, yr Henuriad Dille ar y bummed, a'r Henuriad A. M. Musser yn ysgrifenydd. Gyda'r trefniad hyn, a chyfreithiau y cwmpeini yn cael eu cadw yn rheolaidd, yr ydym yn myned yn y blaen yn rhagorol.

Nid yw tanau y llong wedi eu cyfrif i bobi ond i 400 o ymfudwyr, ond gyda'r rheolau yr ydym wedi eu mabwysiadu, gallwn yn rhwydd wneud am dros ddau cymmaint. Y mae ein bwydydd yn dda, ac y mae genym ddigon o honynt.

Y mae y Saint oll yn mwynhau iechyd da, ac y maent mewn ysbryd llon, canys byddwn ar dir yn fuan yn awr. Yr ydym wedi bod 22 niwrnod ar y mor, a chawsom ar y cwbl daith bur gysurus, ac y mae bendithion y nef wedi ein dilyn, a'n gweddiau wedi ei hateb yn union. Perwyd i'r gwyntoedd i chwythu, iachawyd y cleifion, bwriwyd allan gythreuliaid, ac y mae Ysbryd yr Arglwydd wedi gweinyddu arnom trwy gydol yr amser.

Y mae y Saint o Gymru wedi myned yn y blaen yn rhagorol dda. Bu rhai o honynt yn glaf, ond yn awr y maent oll yn iach, neu o leiaf yn agos felly, ac ychydig ddiwrnodau ar dir sych fydd yn ddigon i osod y cwbl yn ei le.

Oddiar y dechreuais ysgrifenu y llythr hwn, bu farw y wraig hono ag oedd wedi esgor, a chladdwyd hi yn nyfnder y weilgi. Y mae etto un neu ddwy o hen wragedd nad ydynt yn hollol iach. Y mae pawb eraill yn mwynhau iechyd cryf, ac yn teimlo yn gysurus.

Y mae teimladau fy nghalon yn annesgrifiadwy, tra y mae yr olygfa hardd o wlad fy ngenedigaeth yn ymgodi o'm blaen, canys teimlwyf fel pe buaswn unwaith etto o fewn fy nghartref glyd, a phan y dywedwyf hyn am danaf fy hun, credwyf fy mod yn dywedyd teimladau pawb ar y bwrdd.

Nis gwn am ddim arall a allaf ddywedyd, oherwydd y mae pob un yn bur gysyrus, ac yr ydym yn gweddio yn ddibaid hwyr a boreu, am i chwi a phawb o'n brodyr a chwiorydd yn Babilon, gael eich cysuro a'ch bendithio, cyhyd ag y bydd ewyllys yr Arglwydd yn eich cadw yno, ac y bydd i chwi yn fuan gael y fraint o'n dilyn, a chael eich bendithio fel y cawsom ninnau.

Cofiwch fi yn garedig at y brodyr Miller a Taylor, a phawb ag ydynt yna gyda chwi.

Bydded i aml fendithion y nefoedd eich dilyn byth ac yn

feunyddiol, gan eich perffeithio i bob gweithred dda, ydyw taer a diysgog ddymuniad

Yr eiddoch, fel arfer,

ISRAEL EVANS.

---

Rhos-llanerchrugog, Mai 8fed, 1857.

Y Llywydd Daniels,

Anwyl Frawd,—

Y rheswm nad wyf yn anfon attoch yn amlach yw, oherwydd fy mod yn gwybod fod y bugail Jones yn gwneud yr angen hyn i fyny, yn ei epistolau ef attoch chwi o bryd i bryd.

Gyda golwg ar y Diwygiad, mae wedi ac yn bod o werth rhyfeddol yma, megis manau eraill. Llawenheais pan clywais gyntaf am dano, yn gymmaint a'n bod wedi rhoddi i lawr sail i edifeirwch, ac "athrawiaeth bedyddiadau," &c. Yr oeddwn yn gwybod er ys amryw fisoedd bod genyf le mawr i ddiwygio mewn llawer o bethau; ond cefais olwg hollol wahanol byth arnaf fy hun, trwy addysgiadau ein Bugail, yr Udgyrn, *Stars*, a'r brawd Benson, &c. Mewn gair, credaf i mi gael golwg tra chywir o honof fy hun, trwy y cyfryngau a nodwyd, ac yn y drych yma gwelais le genyf i ddiwygio, yn feddyliol, yn ymddyddanol, a gweithredol. Ar y 23ain o Fawrth, yn Llynlleifiad, cyfammodais yn enw y drindod etto, i fyw fy nghrefydd, i ymburo, ac i santeiddio fy hun gerbron fy Nhad, yr hwn a orchymynai arnaf i'w wneud. Fe seliwyd y cyfammod a thywalltiad helaethach o ysbryd Duw arnaf nag o'r blaen, yn ol yr addewid. Ac hyd yn hyn y mae megis tân trwy fy holl gyfansoddiad, ie, y mae yn cynnyddu, a thrwy ei nerth yr wyf wedi pregethu ar yr un testun er ys saith wythnos, sef y "Diwygiad," yn y boreu, y prydnawn, ac yn yr hwyr. Ac megis ag y mae dynion yn gwahanu yn eu cyrff a'u hysbrydoedd, felly hefyd y gwahana effaith pregethiad y diwygiad. Credai rhai o'r penau mawrion a'r *lords*, mai ergyd farwol i Formoniaeth oedd y diwygiad, tarddedig oddiar ddiffyg cariad, hunan-elw, a thrais. Eraill yn wahanol, gan wybod mai bendith darddiedig oddiar gariad a thrugaredd Duw oedd; ac yn y goleu hyn mae tua hanner cant wedi adgyfammodi yn y bedydd i fyw yn well, a gallaf ddywedyd eu bod, y mae eu gweithredoedd yn dystion o hyny. Dysgwyliwn fedyddio rhagor yn fuan, ond credaf y bydd o ddeugain i hanner cant yn fyr o'r rhif blaenorol, yr hyn a brawf mai meirwon oeddynt o'r blaen. Ond hyn sydd ffaith, y bydd rhagor o lwyddiant yn ein plith o hyn allan. a hyny yn naturiol ac ysbrydol, oherwydd y mae mwy o ysbryd Duw yn ein plith, ac o ganlyniad fe wneir rhagor o waith. Yr ydym wedi dechreu pregethu allan o galon yn yr awyr agored, ac y mae tyrfaoedd mawrion yn ein gwrando, a hyny yn astud a difrifol, ond y mae yn rhaid caniatau fod am-

bell i Saul yn mhob cyfarfod. Arddangosa llawer o'n gwrandawyr a gwen gonestrwydd yn chwareu yn eu gwynebau, yr hyn a brawf i raddau helaeth ei fod yn y galon. Llawer o'r gwenau hyn ydynt wedi eu creu trwy effaith y traethodu ffyddlon sydd wedi bod am y pum mis diweddaf; diau fod y rhai hyn wedi ac i wneud llawer o ddaioni. Pan yn pregethu allan, os bydd cynhwrf yn cyfodi yn mhlith y bobl, achosir hwynt, gan amlaf, gan y gweinidogiou a'r pregethwyr, fel galwant eu hunain. Adwaenir hwynt yn y cynulleidfaoedd, nid wrth eu rhinwedd a'u daioni, ond wrth eu *Babylonish Flags*, sef eu napcynau gwynion, gwynebau hirion, a gweithredoedd o eiddo'r un drwg. Cariant erbyn hyn eu papurai newyddion a'u halmanaciau, er ymdrechu ein gwrthbrofi, Ond gwel y craff ei lygad trwy hyn eu bod yn methu cael dim yn ein herbyn yn ngair ysgrifenedig Duw, felly amlwg ydyw fod bob peth yn gweithio er daioni i blant Duw, a lledaeniad teyrnas Dduw ar y ddaear, ac y gwawria yr adeg yn fuan pan fydd y frenhiniaeth, a mawredd y frenhiniaeth, yn meddiant Saint y Goruchaf.

Tebyg i hyn yr awn yn y blaen yma, gan ddymuno rhan yn eich gweddiau, gan wybod na fydd ein llafur yn ofer yn yr Arglwydd.

Fy serch gwresocaf attoch chwi, ac at yr holl frodyr ffyddlon sydd gyda chwi.

Ydwyf, yr eiddoch yn ufydd a ffyddlon yn yr Arglwydd,

DAVID JOHN.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH Y BUGAIL JONES.

---

Ar fin y ffordd rhwng Caernarfon a Cricerth,
Wrth fodd fy nghalon,
Mai 11fed, 1857.

Anwyl Frawd Daniels,

Yr wythnos ddiweddaf bum yn Llandudno, Eglwysfach, Bethesda, Amlwch, a Chaergybi, a'r Brawd William Ajax gyda mi, a chawsom gannoedd lawer i'n gwrando, yn neillduol yn Bethesda ac Amlwch, a holi mawr pa bryd y deuwn etto. O, na bai rhyw ddyn da yn rhyw grefftwr yn dyfod i'r lle hwn. Y mae yma un chwaer. Yr oeddent fel Cymanfa fawr, pob un yn eistedd ar y llawr, ac yn gwrandaw am fywyd. Nid dadl na ddaw yma Saint. Bydd y brodyr teithiol yma yn awr ac yn y man, ond nid hanner digon aml. Daethom i Gaernarfon nos Sadwrn, a buom yn pregethu allan ddwywaith, a chadw cyfarfod y Saint. Mae y Saint yma yn farw iawn. Nid ydyw y brawd T. Jones etto wedi cael gwaith, a bydd yn teithio oddiamgylch hyd nes y caiff. Cefais eich llythyr a llythyr y brawd Taylor. Yr oeddwn ar fy nhaith tua Machynlleth, pe buasech heb anfon attaf, ond

nid i gadw cymanfa; ond *all right*, frawd Daniels, byddaf heno yn Cricerth, yn pregethu fy hun, nos y foru yn Porthmadog, oddiyno i Harlech, Banmoth, Tywyn, ac i Machynlleth nos Sadwrn, i gyfarfod a'r brawd Taylor, a phregethu bob nos, os gallaf. Cerddais yr wythnos ddiweddaf tua chan milltir. Bu y brawd Ajax gyda mi o Betnesda hyd heddyw, y mae efe yn gystal ag y dymunwn iddo fod. Mae y Saint o hyd yn diwygio, ond nid mor gyflym ag y dymunwn iddynt. O ie, cofiwch, cofiwch anfon Collier da yn ei waith a'r Eglwys, at y brawd Thomas Jones, Brymbo. Caiff 3s: y dydd am ei waith. Nid i bregethu yr wyf yn ei ymofyn, ond i gynnorthwyo yr ychydig sydd yma gyda dosparthu llyfrau. Hefyd cofiwch am Llanidloes, Os nad ydyw Benjamin Davies yn dyfod efaillai y daw rhyw un arall, John Morgans yn ei le i Brymbo, neu'r bachgen sydd tua'r Bryn o Sir Benfro.

Aiff y brawd Taylor a minnau yn ol y ffordd hon yr wythnos nesaf, ac i bregethu yn Nghaernarfon, Bangor, a Bethesda, &c. Cofich fi at bawb. Yr wyf wrth fy modd, ac O na chawn o bedwar i ddeg o fechgyn da i fyny.

Fy serch attoch o fon y clawdd.

Eich cydwas,

J. E. JONES.

---

[Pwy a gydsynia a galwad y brawd Jones? Anfoned ei enw yma yn ddioed, gydag hysbysiad ei fod yn Formoniad parod, a chaiff ei fendithio a'i gyfnerthu, a'i lwyddo wrth fodd ei galon. Gofynwn etto, *pwy*?

"Fy nghyd bechaduriaid," meddai pregethwr, "pe dywedid wrthych mai wrth fyned i ben y grisiau fan draw, (gan gyfeirio at y grisiau yn y pen hwnt i'r eglwys) y sicrhaech eich hiachawdwriaeth dragywyddol, credwyf yn ddiau na cheisiai neb o honoch ei chyrhaedd. Ond pe cyhoeddai undyn fod yno gant doler i fyny yno i chwi, yn rhwym y bo'f os na fyddai yno "*such a getting up stairs as you never did see.*"

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 12.] MAI 30, 1857. [CYF. X.


## Y CYHOEDD GYWILYDDUS FARNWR DRUMMOND.

(A gyfieithwyd o'r MILLENNIAL STAR, gan DEWI ELFED.)

YR adyn gwaradwyddus a'r gwaelddyn anwnaidd hwn, wedi dianc rhag cyfiawn gospedigaeth y gyfraith, sydd hyd yn hyn yn rhedeg yn benrydd, gan ymdrechu celi ei droseddau ffieiddiaf, a mwyaf calon-glwyfol ei hun, trwy ddifrio ac enllibo y "Mormoniaid." Cofus i'n darllenwyr i'r dyn hwn, er yn anwybodus, grach-gyfreithiwr gwegil-y-gwŷdd, gael ei benodi gan y Llywydd Pierce i lanw swydd anrhydeddus un o ynadon ymgyweithasol i diriogaeth Utah, yr hon a waghawyd trwy farwolaeth yr anrhydeddus Leonidas Shaver. Wedi i DRUMMOND sicrhau ei benodiad, efe a adawodd ei wraig yn Nhalaeth Illinois, a chychwynodd am Utah. Ar ei ffordd efe a bigodd i fyny fenyw, cysgodd gyda hi yn ystod ei holl daith, llettyodd a gwelyodd gyda hi tra yn y diriogaeth, gan ei galw Mrs. DRUMMOND. Dygwyddodd fod gan wir wraig y drwg-weithredwr anifeilaidd rai perthynasau yn byw yn Utah, ac fel hyn darfu i drosedd y barnwr gwarthruddedig gael ei ddadguddio; erlyniadau oeddynt yn nghylch dechreu yn ei erbyn, a mawrhydi y gyfraith i gael ei gymhell; ond yr anghenfil a ddiangodd i Galifornia.

Tra yn ninas Fillmore, prif-ddinas Utah, efe a anfonodd Cato, ei gaethwas negroaidd, i lofruddio Levi Abraham, Masgnachydd Iuddewaidd; ond y negro a faeddwyd yn yr ymgais creulawn, a'r barnwr calon-ddu a ddaliwyd am y trosedd; a buasai, heb ammheuaeth, pe y dygasid ef i'w brawf, wedi cael ei anfon i'r Penyd-dŷ; ond o barch at ei urddasolrwydd swyddogol, fe benderfynwyd i attal gweithrediadau, ac achub yr adyn tylawd rhag cosp y gyfraith, yr hyn oedd ei droseddau mor helaeth yn haeddu.

Pris 1½g.

Yr ellyll celwyddog, godinebus, llofruddiog hwn, wedi dianc rhag cospedigaeth ei droseddau ysgeler, a gymmerodd arno wneuthur mynegiad at Ddirprwyol-Gadfridog y Talaethiau Unol, gan roddi ei resymau paham y rydd i fyny ei swydd fel barnwr cydgyweithasol Utah. Fod dim un dyn yn y byd gwareiddiedig i'w gael yn ddigon delffaidd i'w hydwyllo â'r fath gelwyddau haerllug, anghenfilaidd; a adroddwyd, hefyd, gan y fath waradwyddus ddrwg-weithredwr, duon weithredoedd yr hwn a noethwyd yn gyhoedd lawer o fisoedd yn ol, sydd yn anghyfartaledd dieithrawl, ac yn arddangos gwendid a hudolrwydd y meddwl dynol. Ond dieithrach etto, i weled golygyddion poblogaidd, ac sydd yn arddelwi fod ganddynt ryw barch at eu cymmeriadau eu hunain, yn cymmeryd arnynt i roddi dim coel i'r fath gelwyddau gwrthun, mwyaf annhebygol, a Don Quicsotaidd. Ni tuasem yn anurddo ein colofnau trwy sylwi ar y fath siampl ffinionllyd o ddynoliaeth a'r urddyn-diangol hwn, oni buasai fod boneddigion yr argraff-wasg yn ymdrech i arddodi y gwrthuni a'r enllibiau adnabyddus hyn ar eu darllenwyr, megis gwirionedd gwireddawl. Ond yn awr am y celwyddau cynnwysedig yn mynegiad DRUMMOND.

Celwydd I. "Brigham Young, Llywodraethwr Tiriogaeth Utah, yw cydnabyddus ben Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau-diweddaf, a elwir yn gyffredin, Mormoniaid, ac fel y cyfryw ben yr edrych y Mormoniaid atto, ac atto ef yn unig, am y gyfraith wrth yr hon y maent i gael eu llywodraethu; am hyny nid oes dim un gyfraith o eiddo y Gymanfa Wladwriaethol yn cael ei hystyried ganddynt hwy yn rhwymedig mewn un dull."

Nid oes dim dyn yn America na Lloegr ag sydd yn y modd lleiaf yn adnabyddus â golygiadau neu arferiadau y Llywodraethwr Young a'r "Mormoniaid" ar nad yw yn gwybod fod y gosodiad uchod yn gelwydd gwirfoddol a gwaradwyddus, heb y cysgod pellaf o sail. Pa bryd a pha le y darfu Brigham Young neu yr Eglwys erioed halogi hyd y nod y lleiaf o gyfreithiau y Talaethau Unol? Pa bryd a pha le y darfu iddo ef neu yr Eglwys erioed halogi un o gyfreithiau gwladol Utah? Pa bryd neu pa le y gwnaeth efe neu yr Eglwys gredu neu ddysgu, naill ai yn gyhoedd neu yn ddirgel, mewn geiriau neu mewn ysgrifen, nad oedd cyfreithiau y Gymmanfa Wladwriaethol neu Ffurf-lywodraeth y Taleithiau Unol, neu gyfreithiau gwladol y diriogaeth, yn rhwymedig arno ef neu y "Mormoniaid?" Y fath enghraifft nis gellir ei rhoddi allan, er bodoliaeth yr Eglwys naill ai yn Utah neu yn y Talaethau. Nid oes bobl ar wyneb yr holl ddaear yn fwy ymroddawl a ffyddlawn i eu llywodraeth, nag ydyw heddychol, llafurus, diniwed ddinasyddion Utah. Y maent wedi priodi â'r ffurf lywodraeth a chyfreithiau y Werin lywodraeth Americanaidd. Yn wir, ant yn mhellach nâ dinasyddion eraill; canys y mae wedi ei gorffoli yn eu herthyglau o ffydd fod dull a ffurf lywodraeth y Llywodraeth Americanaidd yn gynnyrchion ysbrydoliaeth yr Hollalluog. Gwadu ei hawdurdod a'i chyfreithiau a fyddai yn

wadiad union-gyrch o'r dwyfol ddadguddiadau a roddwyd trwy Joseph Smith; fe fyddai yn wadiad o "Formoniaeth." Fe fyddai yn wadiad pendant o ddysgiadau gwastadol, cynghorion, ac ymarferiadau y Llywodraethwr Young. Fe fyddai yn wadiad o'r siamplau gwladgarawl ag sydd yn amlwg wedi nodweddu y Saint yn yr erledigaethau echrydus a ddyoddefasant.

Beth! A ydyw y celwyddwr uffernawl hwn, Drummond, yn tybied y gall efe wneyd un dyn synwyrol i gredu fod y Llywodraethwr Young a'r "Mormoniaid" wedi penderfynu i wadu "Mormoniaeth?" i wadu y dadguddiadau a roddwyd trwy eu Prophwyd merthyredig; gwadu eu dysgeidiaethau eu hunain; gwadu erthyglau ffydd eu hunain; gwadu holl wastadlen eu crefydd, er mwyn troi yn wrthryfelwyr i fawr Lywodraeth Ganolbarthol yr Undeb Americanaidd; llywodraeth, hefyd, ag y credant a sefydlodd Duw ei hunain trwy eu hardderchog dadau? Cystal y gallasai ddywedyd i ni, mai y Mormoniaid a ffurfiasant neu a greasant y Llyn Halen Fawr; a adeilasant y Mynyddoedd Creiglyd i rwystro goresgyniad eu tiriogaeth, ac anfon daeargryn ar Galiffornia er dychrynu y preswylwyr.

Celwydd 2. "Myfi a wn fod rhwymedig-lw dirgel ymgorfforiad yn mysg holl aelodau gwrrywaidd yr Eglwys, i beidio cydnabod un gyfraith eithr cyfraith yr Offeiriadaeth Santaidd, yr hon sydd yn dyfod i'r bobl trwy Brigham Young, yn uniongyrchol oddiwrth Dduw, gan ei fod efe Young, yn rhaglaw Duw, ac yn brophwydol ddilyniedydd Joseph Smith, yr hwn ydoedd sylfaenydd y corfforiaid dall a theyrnfradwriaethawl hwn."

Hyn yn unig sydd yn ail adroddiad o'r celwydd gwrthun a dirmygus, a ddyfeiswyd gan lofruddion Missouri yn y flwyddyn 1838, yn hòni fod gan y Mormoniaid gorfforiad llw-rwymedig yn eu mysg, a elwir "DANITIAID," neu "ANGYLION DINYSTRIOL," gorchwyl pa rai oedd dinystrio y Cenedloedd. Yr oedd rhai dynion distadl, delffaidd y pryd hyny yn gweithredol ymhoni credu yr enllib maleisus hwn; heb erioed unwaith feddwl fod y rhai hyny ag oedd yn ddigon dirmygus i lofruddio menywod a phlant diymgelaidd, hefyd yn ddigon drygionus i enllibo eu hysglyfaethau llofruddiedig, mewn trefn i gyfiawnhau eu hunain yn eu herchyll lanastra. Mae yr un celwydd yn awr yn cael ei adnewyddu gan y cambuteiniwr duwiol hwn o farnwr, yr hwn a ffodd o'r Diriogaeth i ddianc cospedigaeth y gyfraith wladol. Os y dychwel efe byth i'r Diriogaeth hono, fe fydd yn alluog i ddysgu yn effeithiol iawn pa un a ydyw y gyfraith wladol yn cael ei pharchu yn Utah neu nad yw. Efe a ddysg y pryd hyny er ei ddwfn dristwch, fod y Mormoniaid yn cydnabod y cyfreithiau gwladol a throseddawl, heb ymofyn, yn ei achos ef, y cynnorthwy o "Gyfraith yr Offeiriadaeth Santaidd," fel y geilw efe hi.

Celwydd 3. "Yr wyf yn llawn wybodus fod y rhai hyn yn blaid o ddynion wedi eu neillduo trwy erchiad neillduol yr Eglwys, i gymmeryd bywydau a meddiant y personau a ammheuant aw-

durdod yr Eglwys, (enwau y rhai yn barod a wnaf yn adnabyddus mewn amser dyfodol.")

Nid yw hyn ond yn unig ymhelaethiad o gelwydd yr 2il, ac ail-adroddiad noteh o'r chwedlau gwrthun a ddygwyd i mewn yn y fath ffug-ystoriau a "Bywyd Menywaidd yn mhlith y Mormoniaid." Mae yn lled gywrain, yn wir, fod i'r fath fintai o lofruddion ac yspeilwyr fodoli yn mysg deg mil a deugain neu gàn mil o gyfaneddwyr, a dim un i'w dadguddio, hyd oni amlygwyd gan y godinebwr anifeilaidd hwn. Ond, wedi hyn, mae yr "enwau" i gael eu gwneyd yn "adnabyddus mewn amser dyfodol." Paham na wneir hwynt yn adnabyddus yn awr? Paham na roddir un enghraifft o ryw lofruddiaeth a gyflawnwyd ganddynt? Paham na sylweddir rhai o'r cyhuddiadau hyn gyda rhyw dystiolaeth fechan? Os yw y fath fintai yn bodoli, gorchwyl pa rai yw yspeilio a llofruddio "personau y rhai a ammheuant awdurdod yr Eglwys," pa fodd y darfu i feddiant a bywyd Drummond ddianc? Pa fodd y gwnaeth y celwyddog ysgrif-raglaw Ferris a'i wraig ddianc? Pa fodd y cafodd y cannoedd cenedloedd, y rhai a gartrefasant yn Utah am flynyddoedd ddianc? Pa fodd y cafodd y cannoedd "Mormoniaid" neillduedig y rhai a breswyliasant y diriogaeth flwyddyn ar ol blwyddyn, ddianc? Pa fodd y mae cannoedd eraill ag sydd yn gadael yr Eglwys ac yn dychwelyd i'r Talaethau, neu ymfudo i Galifforni, yn dianc? Rhaid fod yr yspeilwyr a'r llofruddion hyn yn hwyrfrydig iawn, yn wir, mewn dwyn allan eu dyben uffernol, "trwy archiad neillduol yr Eglwys," os nad ydynt wedi yspeilio na llofruddio dim un. Dieithrol fod càn mil o bobl yn gallael byw mewn tiriogaeth flwyddyn ar ol blwyddyn, a dim hyd y nod un cyfartaledd o un llofruddiaeth yn flynyddol yn dygwydd yn eu plith. Rhyfedd na fuasai mintai gorfforedig "*wedi eu neillduo trwy archiad neillduol yr Eglwys*" i'r alwedigaeth uchaf o lofruddiaeth ac yspeiliad, yn alluog i gyfamryson â'r llofruddion anghorfforedig yn mhlith y cenedloedd Cristianogol gwareiddiedig a duwiol. Na, nid hyd y nod i ladd un-pummed rhan cymmaint ag a lofruddir yn Nghalifforni war eiddiedig! Tybiai un yn naturiol y byddai i ryw un. bob yn awr ac eilwaith, yn wyrthiol i ddiflanu; y byddai i'r meddiant a yspeiliasid gael ei ddadguddio. Ond yma nyni a gawn y rhyfeddol anghyfartaledd o fyntai o yspeilwyr a llofruddion, ond dim un wedi ei lofruddio neu wedi colli; dim meddiant ysglyfaethedig wedi ei gael na'i hunaniaethu.

Celwydd 4. "Fod y cof-lyfrau, papurau, &c., y Llys Uchaf wedi cael eu dinystrio trwy archiad yr Eglwys, gyda gwybodaeth gyfeiriol a chymmeradwyaeth y Llywydd B. Young, a'r swyddwyr cynghreiriol wedi eu ammharchu yn drwsgl am feiddio codi un ammheuaeth yn nghylch y weithred deyrnfradwriaethol."

Mewn ymddiddanion ag y dywedir iddynt fod wedi dechreu gyda'r enllib hwn. gosodir allan fod yn nghylch 900 o gyfrolau o gyfreithiau y Talaethau Unol wedi cael eu llosgi. Er na chawsom un hysbysrwydd mewn perthynas i'r cyhuddiad hwn, ond yr hyn

a ddechreuodd gyda Drummond, etto nid ydym yn petruso cyhoeddi hwn hefyd yn gelwydd drygionus a maleisus. Yr ydym yn rhy adnabyddus â phobl dda Utah, ac ag egwyddorion rhydd, rhwyddgalon, a haelionus y Llywodraethwr Young, i gredu, am un foment, y byddai i'w Ardderchogrwydd neu yr Eglwys fod yn euog o'r fath weithred isel, wael, dirmygadwy, a'r un a osodwyd i lawr yn eu cyhuddiad yn y gosodiad hwn. Mae gwir weithredoedd y Llywodraethwr, a Chynghorfa Ddeddf wneuthurol y diriogaeth, yn ystod y gauaf a aeth heibio, yn profi a celwydd o'r cyhuddiad hwn. Gorchwyl penaf y Gynghorfa, yn ystod yr eisteddiad diweddar, sydd wedi bod er dethol a chasglu o weithredoedd y Senedd Wladwriaethol bob cyfreithiau neu ranau o gyfreithiau ag sydd yn y gradd lleiaf yn gymhwysiadol i Utah, neu Diriogaethau Americanaidd eraill, fel ag y gallai yr unrhyw gael eu gosod yn un gyfrol, fel y gallasai dinasyddion y Diriogaeth fod yn fwy hylaw i ddysgu cyfreithiau y Talaethau Unol ag sydd yn eu llywodraethu. A ydyw hyn yn edrych fel yn ewyllysio llosgi a dinystrio cyfreithiau y Senedd Wladwriaethol? A ydyw hyn yn ymddangos fel heb fod yn cydnabod "*dim uu cyfraith eithr cyfraith yr Offeiriadaeth Santaidd?*" Cystadl y gallasai Drummond fod wedi cyhuddo y Mormoniaid o losgi llyfrgell a Senedd y Wladwriaeth yn y Cabidyldy yn Ninas Washington, a bod wedi eu cyhuddo hwy â'r celwydd llechwraidd hwn. Eithr y mae o gyffelyb gymmeriad i ei enllibiau gwrthun eraill.

Celwydd 5. "Fod Swyddwyr Cyngrheiriol y Diriogaeth yn cael eu dirmygu, eu haflonyddu, a'u blino yn barhaus gan y Mormoniaid, ac am y dirmygiadau hyny nid oes dim iawn."

Y gallasai Drummond fod wedi cael ei "ddirmygu, aflonyddu, ei flino," sarhau, ei wawdio, a'i gashau, am ei gyssylltiadau drwg-weithredol â'i ddewisiedig butain, nid ydym yn teimlo tuedd i ammau. Ond fod un Swyddog Cynghreiriol gweddaidd, hanner parchus erioed wedi cael ei "ddirmygu, aflonyddu, a'i flino gan y Mormoniaid," sydd yn hollol gelwyddog. Yn wir, y mae y Prif Farnwr L. H. Reed, a'i olynydd Prif Farnwr J. T. Kinney, bob un o'r ddau yn llefaru yn y geiriau uchelaf o glod am eu caredig dderbyniad yn mhlith y Mormoniaid. Y Barnwr ymgyweithasol Z. Snow a dderbyniodd y fath roesaw caredig fel y syrthiodd mewn cariad â'r bobl ac â'u hathrawiaeth ac yr unodd âg Eglwys y Saint, ac y mae yn awr yn genadwr galluog ein hathrawiaeth yn Neau Awstralia. Y Barnwr ymgyweithas George P. Stiles a Leonidas Shaver a dderbyniwyd gyda'r nodau mwyaf o barch, ac a uchel anrhydeddwyd gan y Llywodraethwr a'r holl breswylwyr. Mae yr holl Gynghreiriol Swyddwyr hyn, gyda llawer eraill, wedi rhoddi y dystiolaeth fwyaf dibetrus yn uniawn-gyrch mewn gwrthwynebiad i wrthuni enllibus Drummond.

Celwydd 6. "Fod y Swyddwyr Cynghreiriol yn ddyddiol yn cael eu cymhell i wrando ar ffurf y Lywodraeth Americanaidd yn cael ei goganu, prif orchwylwyr y genedl, y byw a'r meirw, yn cael eu henllibio a'u cam drin oddiwrth bentwr y bobl, yn gystal

ag oddiwrth holl aelodau arweinyddol yr Eglwys, yn y modd mwyaf difoes, ffiaidd, a dull drygionus ag y gall nwydau drwg dyn yn bosibl amgyffred."

Mae blynyddol frwdfrydedd càn mil o Formoniaid yn nghadwad gwyl y 4ydd o Orphenhaf—y dydd o annibynoldeb Americanaidd —yn rhoi y celwydd i'r 6ed cyhuddiad hwn o eiddo Drummond. Os yw "peutwr y bobl," a "holl aelodau arweinyddol yr Eglwys" yn enllibio a cham-drin "prif orchwylwyr y genedl," pa fodd y dygwyddodd iddynt fod wedi enwi dwy neu dair o'u siroedd mewn anrhydedd i'r dynion rhagorol hyn? neu eu bod wedi enwi prif ddinas Utah—yn FILLMORE, mewn anrhydedd i'r Llywydd ardderchog hwnw? Y gallai fod neillduolion yn Utah y rhai a anfoddlonwyd gan rai o weithrediadau y Llywyddion Americanaidd, a'r rhai yn rhydd a fynegasant eu barnau mewn perthynas i'r unrhyw, nid ydym yn ammau. Ond ai y Mormoniaid yn Utah yw yr unig rai yn y genedl Americanaidd sydd yn arferu y rhyddidd ymadrodd? A ydyw yr holl Dalaethau a Thiriogaethau yn llefaru yn yr ymadroddion uchelaf o barch am eu "prif orchwylwyr?" neu a ydyw y gwahanol bleidiau gwladol yn eu difenwi a'u difrio, mewn geiriau ac yn eu cylchynolion? Nid ydym yn petruso dywedyd, nad oes Talaeth na Thiriogaeth yn yr Undeb Americanaidd, ond sydd yn difrio, bychanu, a gwarthruddo y prif Lywiawdwyr yn fwy mewn un wythnos nag a wna dinasyddion Utah yn ystod holl amser eu gweinyddiad.

Y cyhuddiad nesaf yw fod y Llywodraethwr Young wedi arferu yr awdurdod gyfreithiol a hawliwyd ynddo gan y Talaethau Unol, mewn maddeu i ddau ddrwg-weithredwr a ddyfarnwyd i'r penyd-dŷ. Ai hwn yw yr achos cyntaf a ddygwyddodd, lle yr arferodd Llywodraethwyr Talaethau a Thiriogaethau eu hawdurdod orchwyliol mewn maddeu i ddrwg-weithredwyr? Pwy ar na wyr fod hwn o ddygwyddiad mynych iawn trwy yr holl Undeb?

Yr achwyniad nesaf yw fod y Llysoedd Gwladol a chyfreithiol Utah wedi dedfrydu pump neu chwech o ddynion ieuainc, y rhai nad oeddynt euog o un trosedd, i'r penyd-dŷ. Pe buasai Drummond wedi cael ei brawf am ei hynod droseddiadau, a chan y gyfraith ei ddyfarnu i garchar, nid oes genym ddim ammheuaeth na fuasai wedi dadleu dieuog. Mae gan lysoedd Utah ormod parch at y gyfraith i garcharu dim un dynsawd dieuog o drosedd. Dengys cof-lyfrau y llys y troseddau am ba rai y mae pawb coll-ddynion yn cael eu dedfrydu. Yn mhellach, y mae gan brif lysoedd y Talaethau Unol am y Diriogaeth hono allu i wrthdroi neu gadarnhau penderfyniadau y llysoedd iselaf: mae hwn yn ddiogelydd trwyadl yn erbyn carchariadau anghyfiawn ac anghyfreithlawn.

Y celwydd nesaf a haerwyd gan Drummond fel y canlyn:—"Yr wyf fi hefyd yn cyhuddo Brigham Young âg ymyraeth yn barhaus â'r llysoedd cynghreiriol yn cyfarwyddo yr uchel reithiwr pwy i roi cwyn yn ei erbyn a phwy i beidio, ac ar ol gorchymyn y barnwr i'r uchel reithwyr am eu dyledswyddau, fod gan y dyn

Young yn ddigyfnewid ryw nifer o'r uchel reithwyr wedi eu cynghori yn mlaen wrth ei ewyllys mewn perthynas i eu gorchwylion, ac mai ei orchymyn ef fel hyn wedi ei roddi yw yr unig orchymyn a adnabyddir, ufyddheir, neu a dderbynir gan yr holl uchel reithwyr llysoedd cynghreiriol Tiriogaeth Utah."

Y ffeithiau canlynol a ddengys yr anmhosiblrwydd hollol fod gan y celwydd maleisus hwn hyd y nod gyffelybrwydd gwirionedd. Yn y lle cyntaf, y mae tiriogaeth Utah yn breicheidio rhandir eang o wlad rhyw chwech cant o filltiroedd o hyd, a thri chant a deg a deugain o led, yn cynnwys arwynebedd o yn nghylch dau cant a phum' mil ar ugain o filltiroedd petrual. Llawer sefydliadau mawrion o drefydd, pentrefi, a dinasoedd a ffurfiwyd yn blithdraphlith trwy yr oll o'r dreftadaeth helaeth hon. Yr oll o'r diriogaeth hon a ranwyd i dair o raglawiaethau barnol; a Barnwyr y Talaethau Unol a benwyd i bob rhaglawiaeth, yn yr hon y mae efe yn dal llysoedd cynghreiriol mewn gwahanol amserau a lleoedd. Uchel reithwyr a bennodir mewn yn nghylch ugain o siroedd. Yn awr, gofynwn, pa fodd y byddai yn bosibl i'r Llywodraethwr Young i gyflafareddu â'r holl uchel reithwyr hyn, gwasgaredig trwy y fath diriogaeth helaeth, yn eistedd yn fynych yn y pellder o bedwar, pump, a chwech cant o filltiroedd oddiwrth y naill y llall? Rhaid yw cofio nad oes dim rheilffyrdd na gwyfrau pellebyrawl *(telegraphic wires)* yn y diriogaeth, ac yn fynych misoedd cyfain a ant heibio heb ddim newyddion neu gyflafareddiad rhwng y sefydliadau pellenig, lle y mae uchel reithwyr yn eistedd. Ac etto yn ngwyneb yr holl annalluoldebau hyn, y Llywodraethwr Young a arddangosir fel yn rheoli penderfyniadau *"holl uchel reithwyr Llysoedd Cynghreiriol Tiriogaeth Utah!"*

Dyn rhyfeddol yw y Llywodraethwr Young hwn! fod ganddo y fath odiaeth alluoedd! Yn unig meddylir am y rhyfeddol syndod o fod mewn ugain o siroedd ar un amser, yn llygadu i mewn i holl achosion dyrys pob un o'r uchel reithwyr, a rheoli eu penderfyniadau! Ond gwedi hyny rhaid fod hyn oll yn wirionedd, medd golygyddion poblogaidd, canys y mawr, y difrycheulyd farnwr Drummond a ddywed felly!

Y cyhuddiad nesaf sydd yn ysgrifenedig fel y canlyn:—

"Drachefn, Syr, ar ol ymchwiliad gofalus ac ystyriol, cymhellwyd fi i ddyfod i'r penderfyniad, calon-rwygog a chlafychog y gall fod, fod Cadben John W. Gunnison a'i blaid o wyth eraill, wedi cael eu llofruddio gan yr Indiaid yn 1853, o dan orchymyn, cynghor, a chyfarwyddyd y Mormoniaid; fod fy rhagflaenorydd ardderchog a hynod, yr Anrhydeddus Leonidas Shaver, wedi dyfod i ei farwolaeth drwy yfed gwirawd gwenwynig, a roddwyd iddo o dan orchymyn dynion arweinyddol yr Eglwys Formonaidd yn Ninas y Llyn Halen Fawr; fod y diweddar Ysgrif-raglaw, A. W. Babbitt, wedi cael ei lofruddio ar y gwastadedd, gan fyntai o yspail-filwyr Mormonaidd, o dan orchymynion penodol a neillduol Brigham Young, Heber C. Kimball, a J. M. Grant, ac nid gan yr Indiaid, fel y mynegwyd gan y Mormoniaid eu hunain,

a'u bod wedi cael eu danfon o Ddinas Llyn Halen Fawr i'r dyben hwnw, a hwnw yn unig; ac fel aelodau y fyntai Ddanitaidd, yr oeddynt yn rhwym i wneyd ewyllys Brigham Young, fel pen yr Eglwys, neu fforffedio eu bywyd."

Yr achosion a arweiniodd yr Indiaid i lofruddio Cadben Gunnison a'i blaid, *yn cynnwys rhai Mormoniaid*, sydd yn rhy adnabyddus i achosi un rhyw egluriadau oddiwrthym ni. Nyni yn unig adroddwn fod rhyw ymfudwyr Califfornaidd "Cenedlig" drygionus yn anllad wedi llofruddio rhyw un neu ragor o'r Indiaid, a'r diweddaf mewn ymddial wedi llofruddio rhai o'r Mormoniaid, yn nghyd a Chadben Gunnison, a rhai o'i blaid. Mae yn ddieithr iawn, yn wir, fod Prif Farnwr Kinney, a'r Swyddogion Cynghreiriol eraill, y rhai yn ddiwyd a ymofynasant i'r llofruddiaethau Indiaidd hyn, heb erioed wneyd y dynoethiad calon-rwygiadol, eu bod oll wedi eu drwg weithio "o dan orchymyn, cynghor, a chyfarwyddid y Mormoniaid." Yn nghylch pa amser y darfu i'r drwg-weithredwr ffoadurawl hwn ffurfio ei "benderfyniadau calon-rwygiadol?" Ai tra yr oedd yn y diriogaeth, neu ar ol iddo fod wedi ffoi rhag cyfiawnder? Gyda golwg ar yr uchel barchus, Anrhydeddus Leonidas Shaver, yr ydym yn cymmeryd pleser mewn dywedyd fod y Llywodraethwr, a holl gyfaneddwyr y diriogaeth ag oedd yn adnabyddus â'i gywirdeb cyfreithlawn a'i lwybr uniawn yn ei sefyllfa swyddawl, yn ei ystyried yn addurn i gymdeithas, ac yn anrhydedd i'r Llywodraeth Gynghreiriol y rhai a'i penodasant i'r osodedigaeth neillduol hono. Ei farwolaeth, er yn hir ddysgwyliedig oddiwrth ddefnyddiad gormodol, parhaus, a hir-gynnefinol o gyslyn *(opium)* a achosodd y deigryn o alar i syrthio o lawer llygad. Ei golled a ddwfn alarwyd gan yr holl gyfundeb, a'i angladd a weiniwyd gan yr urddasolion uchaf. Ni, ein hunain, a erfyniwyd gan yr Anrhydeddus Brif Farnwr Kinney i bregethu pregeth angladdol y swyddog cynghreiriol ardderchog hwn. Ei golled a doimlwyd yn fwy llym etto, pan ei cyferbynwyd ag ymddygiad calon-ddolurus, anifeilaidd ei olynydd, yr hwn a gafodd yr haerllugrwydd digywilydd o osod gerbron fod ei "ragflaenorydd wedi dyfod i'w farwolaeth trwy yfed gwlybyroedd gwenwynig, a roddwyd iddo o dan archiad dynion arweinyddol yr Eglwys Formonaidd." Ni ddywedodd Drummond wrthym pa fodd y llofruddiwyd ef ei hun gan y Mormoniaid. Pe buasai wedi mynegu ei farwolaeth ei hun i'r Cadfridog-dirprwyawl, barnem y buasai golygyddion yn ddigon drygionus i fod wedi ei gyhoeddi oll yn wirionedd. Yn nesaf, dywedir wrthym o ddifrif fod y "diweddar Ysgrif-raglaw y Diriogaeth, A. W. Babbitt, wedi ei lofruddio ar y gwastadedd gan fyntai o yspeil-filwyr Mormonaidd, o dan benodol a neillduol orchymyn Brigham Young, Heber C. Kimball, a J. M. Grant, ac nid gan yr Indiaid."

Yn awr, pa le y dygwyddodd y llofruddiaeth hon! Atteb; rhyw saith cant milltir o Ddinas y Llyn Halen. Pwy gyflawnodd y llofruddiaeth hon? Atteb; yr un personau ag a syrthias-

ant ar amrywiol osgorddau ymfudol, ac yn ddiwahan ac a gigyddiasant wyr, gwragedd a babanod. Ond pwy oeddynt hwy? Yr Indiaid Cheyenneidd a gyffesasant mai hwy eu hunain oedd y llofruddion; ac iddynt ei wneyd mewn ad-daliad am fywydau y rhai hyny ag y darfu i fynteioedd y Talaethau Unol saethu i lawr. Mae yr un Indiaid hyn yn adrodd fod Babbitt wedi ymladd am ei fywyd yn gyffelyb i arth lwyd; ond eu bod hwy wedi ei fwyellu (*tomahawked*) ef; a'u bod hwy wedi saethu Sutherland (Mormon), yr hwn oedd gyda Babbitt; a chan fod wedi lladd yr un nifer o ddynion gwynion ag a laddodd y mynteiodd o Indiaid, eu bod yn foddlon gwneyd heddwch, yr hyn a wnaethant â swyddogion y Talaethau Unol yn Fort Laramie. Gyda'r holl brawf gwrthwynebol hwn, yn gyhoedd ac o flaen y byd, y *Don Quixot* hwn o farnwr sydd yn cymmeryd arno i gyhoeddi mai y Mormoniaid Danitiaidd a ddaethant saith càn milltir, wedi eu danfon "*trwy orchymyn penodol a neillduol*" y Llywodraethwr Young ac eraill, "i'r dyben hwnw a hwnw yn unig." Pa ham na ddywedodd Drummond wrthym mai y Mormoniaid, ac nid y negroaid, y gauaf diweddaf, a lofruddiasant y caeth-ddaliedyddion deheuol yn y Talaethau Unol? mai y Mormoniaid a wenwynasant Bonuparte ar Ynys St. Helena? ac mai y Mormoniaid, ac nid y Saeson, a ddinystriasant y byddinoedd Rwsiaidd yn ystod y rhyfel diweddar â'r Galluoedd Gorllewinol? Y fath haeriadau nis gallasent fod wedi methu mewn caffael credinwyr, yn neillduol os eu cynnelid i fyny gan gyhoedd fygythiadau y newyddiaduron poblogaidd, y fath ag yw y *London Times, London Illustrated News, &c.* "Ond," medd Drummond, "gallaswn, syr, *pe yn anghenrheidiol*, apelio at gwmwl o dystion i orchwiriaw y rhesymau a roddais, a'r cyhuddiadau, yn eofn fel y maent, yn erbyn yr arch-deyrnolion ag sydd yn llywodraethu â llaw haiarn eu càn mil o eneidiau yn Utah, a'u dau càn mil eneidiau allan o'r diriogaeth hon."

O peidiwch, Farnwr Drummond, "apelio at gwmwl o dystion," nid yw yn "*anghenrheidiol*." Mae eich gair yn unig yn gyflawn ddigon! ac yna yn unig meddyliwch—y "bywydau" o eiddo y tystion hyn a fyddent yn y fath gyflwr bygythiol! O, arbedwch hwynt! eu bywydau, "*ni fyddant ddioget am un dydd!*" yn neillduol y tystion yn Nghaliffornia, lle nad oes ganddynt ond yn unig un dalaeth i eu hamddiffyn! O, peidwch bradychu eu gwaed gwirion! canys pwy a all ammheu eich gair? y mae mor rhesymol—mor gyson—mor debygol—mor gyfatebol i offeiriaid a golygyddion! fe fyddai yn fath drueni ei anafu â *thystion ananghenrheidiol!*

---

## MR. THOMAS BULLOCK, MEWN ATTEBIAD I GYHUDDIADAU Y BARNWR DRUMMOND.

*Llundain, Mai* 3, 1857.

Henuriad Orson Pratt,—Anwyl Frawd,—

Wedi darllen yn y *Times* lythyr hir oddiwrth Farnwr Drummond ar y pwnc o "losgi cyfreithiau Tiriogaeth Utah," &c.,

teimlwyf i ysgrifenu ychydig o fy meddyliau, ac, efallai, y gallant fod o les.

Pan aeth y *Pioneers* i gawg mawr y Mynyddoedd Creiglyd, yn 1847, yr oedd yn perthynu i lywodraeth Mecsico, ac fel tir Mecsicanaidd yr aethom i mewn iddo, ac y cymmerasom feddiant.

Yn ngwanwyn 1848 y gwnaethpwyd cyflafareddiad o heddwch ar derfyn y rhyfel, yr hyn a drosodd y tir i'r Talaethau Unol.

Pan y tiriodd yr ymfudiad o'r Talaethau Unol yno yn 1848, y bobl, mewn ymgynnullfa arbenig, a wnaethant ffurf lywodraeth, gan gorffori y wlad hono i "Dalaeth Deseret:" hwy a anfonasant gynnrychiolwr i'r Senedd Wladwriaethol, ac a wnaethant gyfreithiau i lywodraethu y bobl; yn mhlith y cyfreithiau hyny yr oedd un yn corffoli Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau-diweddaf, gyda'u holl ffurfiau a'u defodau crefyddol; ac yn rhoddi cyfartal amddiffyniad i bob enwadau crefyddol eraill.

Senedd Wladwriaethol y Talaethau Unol gwedi hyny a ganiatasant ffurf-lywodraeth, gan gorffori yr unrhyw derfynau i diriogaeth Utah, ac a awdurdodasant Lywodraeth y diriogaeth hono i orchymyn i gyfrifiadaeth gael ei gymmeryd, ar ba un i ranu yn gyfartal aelodau y ddeddf-wneuthurfa.

Deddf-wneuthurfa Utah a gorfforwyd yn ol y weithred gorfforiad, a hwy a ail-gadarnhausant holl gyfreithiau Talaeth Deseret, y rhai ag oedd yn gymhwyseddol i Diriogaeth Utah.

Ar derfyn eisteddiad 1855 rhoddwyd gwledd gan yr Anrhydeddus Ysgrif-raglaw A. W. Babbitt, pan y dygodd y Prif Farnwr Kinney, y Barnwr Cynnorthwyol a Chadfridog Dirprwyol, dystiolaeth i'r cyfreithiau doeth a da a ordeiniwyd i lywodraeth Utah. A hwy hefyd a ddygasant dystiolaeth o ufydd-dod ei phobl fel dinasyddion Americanaidd, ac o'u cywirdeb a'u moesoldeb, yn gymdeithasol, gwladwriaethol, a chrefyddol.

Cyfreithiau Utah, megis eu cyhoeddwyd i'r byd, a anfonwyd i Senedd Wladwriaethol y Talaethau Unol, (yr rhai oedd ganddynt awdurdod diddymiadol,) ac a gymmeradwywyd. * * * *

Nia oes genyf wybodaeth am ddim llyfrau neu gyfreithiau a gawsant eu llosgi yn Utah, naill ai trwy neu heb wybodaeth neu gydsyniad y Llywodraethwr Young, ac nis gallasai y fath beth ddyfod i'r goleu heb wybod i mi, hyd at amser fy ngadawiad i ag yno yr hydref diweddaf, yr hyn oedd ar ol i Drummond fod wedi gadael am Califfornia.

Yn yr eisteddiad '55-6, yr hwn a eisteddodd yn Ninas Fillmore, cafwyd fod ychydig welliant yn anghenrheidiol, yr hyn a wnaed. Y Barnwr Drummond yn fynych a eisteddai yn y bar, ac a wnai grybwylliadau i'r aelodau; y rhai hyny a ddadleuid, ac a fabwysiedid, pan y ceid yn anghenrheidiol. Fel hyn ystyriwyf fod Tiriogaeth Utah wedi cael set o gyfreithiau mor gryno a pherffaith i lywodraethu y bobl ag y mae ei sefyllfa yn ofyn.

Gyda golwg ar y cyhuddiad o lofruddiaeth yr Ysgrif-raglaw, Mr. Babbitt, Mr. Margetts, ac eraill, y cwmpeini o ddynion a groesasant y gwastadedd gyda mi yr hydref diweddaf, yn gyntaf a

glywsant am y gyflafan ar y 24ain o Fedi, yn *Independence Rock.* Ar y 3ydd o Hydref nyni a aethom heibio yr oruchwyliaeth Indiaidd ychydig filltiroedd yn ddwyreiniol i Fort Laramie, lle yr oedd deunaw lluesdy o Indiaid yn gwersyllu ; y rhai oeddynt yn ymofyn bod mewn heddwch. Dywedwyd wrthym yn Fort Laramie, ac hefyd gan y goruchwylwyr Indiaidd, mai hwynthwy oedd y dynion ag a laddasant y dynion gwynion, a'u bod hwy yn cydnabod ddarfod iddynt ei wneyd mewn ad daliad am y nifer ag oedd wedi eu lladd gerllaw Fort Kearney gan fynteiodd y Talaethau Unol. Rhybuddiasant ni, gan ofni ein bod yn rhy ychydig mewn rhifedi i fyned trwy wlad yr Indiaid mewn diogelwch. Fel hyn wyf fi yn gwybod fod Drummond wedi cyhoeddi anwiredd atgas. Am y cyhuddiad i'r Mormoniaid roddi i'r galarus Anrhydeddus Farnwr Leonidas Shaver "wlybyroedd gwenwynig yr hyn a achosodd ei farwolaeth," y mae yn wybodus ei fod yn gelwydd ystyriol a drygionus. Gan mai myfi oedd Arolygwr y gwirodydd i Diriogaeth Utah, yr wyf fi yn wybodus o'r ffaith ei fod ef wedi prynu y gyfran fwyaf o'r gwirodydd ag oedd efe yn yfed oddiwrth Meistriaid Livingston a Kinhead, masgnachwyr yn Ninas y Llyn Halen Fawr, oddiar 1849 ; a rhai nid ydynt yn aelodau o'r Eglwys Formonaidd ; ac y mae yn eithaf gwybodus gan y bobl yn Utah, yn Saint a phechaduriaid, nad oedd y Barnwr Shaver, ar amser ei drancedigaeth, yn lletua gyda Mormoniaid, ychwaith nid oedd ei feddyg yn Formoniad ; yr oedd efe yn cael ei gyfferi o'r Talaethau Unol. Y dyn a agorodd y ffenestr ac a'i cafodd yn farw, y rhan fwyaf o'r tystion a'r rheithwyr ar ymchwiliad y coroner, nid oeddynt yn Formoniaid ; eithr y Mormoniaid yn gyffredinol a alarasant ei farwolaeth ; ac yn awr yr ydym yn gweled, pe buasai wedi rhyngu bodd yr Hollalluog Dduw, i ei fywyd fod wedi ei arbed, ni fuasai Tiriogaeth Utah wedi cael ei mhellidithio â'r fath ddyn dirmygus, anfoesol, anllad, ag y mae Drummond wedi profi ei hunan i fod.

Yr wyf fi yn lludiog wadu y celwyddau digywilyddiawg a wnaed yn llythyr y Barnwr Drummond, ac yn cyhoeddi i bawb a ddarllenant y llythyr hwn, y daw y dydd pan yn mhresenoldeb y miliynau ymgynnulledig, y gwneir ei gelwyddau yn amlwg, a'r pryd hwnw hefyd y bydd yn amlwg pa un a yw y llythyr hwn yn wir neu beidio. Ymddygiad y Llywodraethwr Young fydd y pryd hwnw yw adnabyddus i'r holl fyd, a chelwyddau ei enllibwyr yn amlwg ddadguddiedig, pan yr anfonir hwynt i dderbyn eu gwobr.

O Arglwydd, galluoga fi i wneyd fy nyledswydd mor ffyddlon ag y gwnaeth y Llywodraethwr Young yr eiddo ef.

Yr wyf wedi bod mor fyr ag y caniatâ y pwnc i mi, am hyny gwelwch yn dda esgusodi.

Gorphwysaf, anwyl frawd Pratt,

Yr eiddoch, yn wir ostyngedig,

THOMAS BULLOCK,

Gynt Clerc y Tŷ o Gynnrychiolwyr Tiriogaeth Utah.

[Yr ydym ni wedi bod yn bersonol gynnefinol â'r Henuriad

Thomas Bullock am lawer o flynyddoedd, ac yn gwybod ei fod ef yn ddyn o wirionedd a geirwiredd, ac yr ydym yn cymmeradwyo pawb ymofynwyr teg am hysbysrwydd o Utah i dryddarllen ei lythyr. Yr Henuriad Bullock sydd yn Sais wrth enedigaeth, yr hwn a gofleidiodd yr efengyl, ac a ymfudodd i'r America, ei wlad fabwysiedig, rhyw ddeuddeg neu bedair blynedd ar ddeg yn ol. Y mae efe yn ddiweddar o Utah, ar genadiaeth i ei wlad enedigol.—GOL. *Star*.]

## AT LYWYDDION CYNNADLEDDAU.

Llywyddion Cynnadleddau a welant yn dda i ddefnyddio eu dylanwad yn anfoniad ein Attebiad i Adroddiad y Barnwr Drummond, neu ryw erthyglau naill o ddyddordeb neb o'n cylchnolion eraill, i olygyddion y papurau, gan barchus ddeisyfu arnynt eu cyhoeddi. Golygyddion ydynt yn achwyn ei bod yn anhawdd iawn i gyrhaedd unrhyw beth ymddibynol yn nghylch Mormoniaeth. Rhodder iddynt bob cyfleusdra a ewyllysiant. Y cyffroad sydd mor fawr fel y rhydd unrhyw hysbysrwydd ymddibynol ar y pwnc hwn werthiad i eu priodol bapurau.—GOL. *Star*.

## NEWYDDION O UTAH.

Dygodd y llythyr-gerbyd diweddaf amryw newyddion, llythyron, &c., rhy faith i'w gosod yn y rhyfyn hwn. Ymddengys llythyr oddiwrth y Llywydd Young, &c., yn ein nesaf. Difynwn ychydig o'r *Mormon*:—

Cawsom yr wythnos hon lythyr-gerbyd ychwanegol o Utah yn rhoddi hanesion hyd Chwefror 25. Y newydd fwyaf cynhyrfus a bywydawl yw ffyniant y Diwygiad, a'i effaith dymunol ar y bobl. Ymdrefnir mewn modd godidog er dwyn yn mlaen y gweithiau cyhoeddus yn egniol. Y mae 300 o ŵyr wedi ymroddi at weithio ar gamlas y Big Cottonwood er dyfod a meini i'r deml a dwfr er defnydd y ddinas.

Cymdeithas Amaethyddol a Gwneuthurol Deseret sydd eisoes wedi cyhoeddi list o'r gwobrwyon a gyflwynir yn yr ail ddangosfa ffynyddol—i gymmeryd lle yn mis Hydref nesaf—am *stock*—cnydau maesydd—gwyrdd-lysieu—ffrwythau a blodau—offerynau amaethyddol—peiriannau amaethyddol a pheirianaeth.

Nid oedd yr Utahiaid, hyd yn hyn, wedi deall am ddim ond am etholiad Buchanan, ac yr oeddynt, wrth gwrs, mewn anwybodaeth ogoneddus o'u darpariadau dirfawr am ryfel, eu hymosodiad ffyrnig ar bump neu chwech o ddinasyddion Americanaidd o Missouri ac Iowa, eu poenydiau ar y bachgen mud, a'u cabledd a'u cyssegr-ladrad (onide ?) mewn llosgi 700 cyfrol o gyfraith. Y fath bobl drygionus y rhaid fod yr Utahiaid hyn i wneuthur hyna oll heb wybod dim am hyny hyd onid elo y gerwyn-agolch a'r "enllibwr" hwnw, yr N. Y. *Tribune*, i'w Tiriogaeth—adleisiad y "barnwr ceffyl-fasnachol," Drummond. Cystal fyddai i ni

ychwanegu yma fod y "ceffyl-fasnachydd," druan, wedi mynu llythyr arall allan. Y mae wedi anerch gweddw Cadben Gunnison, ac ychwanegu at ei gyhuddiadau blaenorol enwau y per sonau ag y mae efe yn *credu* eu bod wedi cyflawnu y weithred waedlyd dan y gochl o Indiaid. Darfu i berson a gyhuddwyd felly, ag sydd yn awr yn y dalaeth hon, (Caerefrog Newydd,) ein hysbysu pa ddiwrnod o'i fwriad i gospi Drummond, gan y geill efe brofi ei fod yn Nghaliffornia yn amser llofruddiad Gunnison. Pe ystyriai y cyhuddiedigion eraill ef yn deilwng o sylw, ac un rhyw gyfleusdra o ddyfod o hyd iddo, byddai i'r "barnwr ceffyl-fasnachol," ymddangos ar lun gwahanol yn y llysoedd yma na phan yr eisteddodd y foneddiges Washingtonaidd wrth ei ochr ar y fainc yn Lŷs Fillmore.

Oni ffurfia rai o'r duwiolfrydig weddiau neillduol dros y truan Drummond? Druan o hono, dylai fod yn wrthddrych gresynol deb. Y mae wedi dwyn ei hun i gyfyngder gwaeth nag eiddo Peck, ac y mae efe yn ei wybod; a pheth sydd waeth i'w esmwythder meddwl; efe a ŵyr ein bod *ni yn ei wybod*, ac yn debyg o roddi, un o'r dyddiau cyntaf, y fantais o'n gafael, mor llydan ag y taenodd efe ei athrodau gwarthus.

---

## I DRUMMOND A'I GWMNI.

Arch-gablwr—gwariwr y gwir—yw Drummond
　A'i drem yn mhob anwir;
Y ci anwn hwn, cyn hir,
A dialedd ei delir

Ei ddrewdod hynod ei hunan—ba anair!
　Dry'n boenus i Satan;
Pob diafl a'i geilw yn aflan—
Du ei ryw—a dua'i ran.

Clyw! Gwaedd y Golygyddion,—Offeiriaid,
　A ffair Parchedigion!
Eu gerain dwl—gerwin don—
Galanas dig elynion!

Atteg "Mormoniaid" Utah,—yw eu Duw,
　Efe a dal y traha,
Cân Seion yn hon,—ha, ha,
O lawen Haleliwia.

DEWI ELFED.

## LLYTHYRON O'R DYFFRYN.

---

Dinas y Llyn Halen Fawr,
Chwefror 5ed, 1856.

Anwyl Frawd Daniels,

Mae yn gywilydd genyf na fuaswn wedi ysgrifenu atoch yn amlach, ond y mae afreolaidd y mail yn ddigon i ddiflasu neb a gymmer mewn llaw i ysgrifenu. Yr wyf fi a'm teulu yn iach, ac felly eich teulu chwithau: yr wyf yn gweled y chwaer Daniels bob wythnos, gan fy mod yn pregethu diwygiad yn mhlith y Cymry yn y gymydogaeth hono. Capt. Jones a Jeremy yw fy nghydgenadon. Yr ydym yn eu dysgu i garthu allan bob drygioni, a phenderfynu gwasanaethu Duw o hyn allan. Yr ydym yn eu hannog i ddysgu Saesneg, a pheidio ymarfer siarad Cymraeg, gan fod hyny yn rhwystr i bersonau ddysgu y iaith arall. Byddai dda genyf glywed fod y Cymry yn yr hen wlad yn eu hefelychu.

Mae yn amser hyfryd yma yn bresenol; tra mae pawb yn ymdrechu gwasanaethu Duw, a chadw ei orchymynion. Mae y cariad cyntaf yn dychwelyd, a theyrnas Dduw yn flaenaf yn meddyliau y bobl. Eisoes mae yr annuwiolion yn crynu, ac yn dyfeisio pa fodd y gallant ddianc o'n plith.

Y mae yr Eglwys oll trwy y Diriogaeth hon yn penderfynu ymburo a glanhau, fel y derbynio yn helaeth o fendithion yr Arglwydd. Mae fy mynwes yn llawn, a charwn ysgrifenu llawer atoch, ac at fy mrodyr y Saint Cymreig; ond ni chaniatâ amser ar hyn o bryd. Er hyny, dywedaf hyn, pawb sydd am ddyfod yma, na ddeuant er mwyn cyfoethogi, neu wellhau eu hunain, ond er mwyn y gwirionedd yn unig. Cariad at y gwirionedd ddylai fod ein nod flaenaf; a deued pethau eraill fel y delont.

> "Yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw,
> Na cheisiwch olud byd;
> Y trysor goreu ceisiwch chwi,
> Mae'r lleill i'w cael o hyd."

Digon tebyg y gwna llawer ymadael yn y gwanwyn, gan yr â yn rhy boeth iddynt aros yn mhlith y rhai sydd yn penderfynu gwasanaethu Duw. Yr wyf fi a'm teulu yn penderfynu glynu gyda yr Eglwys, deued a ddelo; a gwn mai gwyn ein byd os

gwnawn hyny. Gwged y byd a wgont, a chynddeiriogent a fynont, gyda ni y mae Duw, a gyda ni mae y fuddugoliaeth.

Cofiwch fi yn garedig at y Saint oll, ac yn neillduol atoch eich hunan; a pheidiwch a bod heb ysgrifenu yn ol.

Yr eiddoch yn y gwirionedd,

JOHN S. DAVIS.

---

*Dinas Ogden, Hydref* 20, 1856.

Fy anwyl Frawd a Chwaer, ynghyd a'ch teuluoedd,—

Da genyf allu eich hysbysu fy mod i a'm teulu wedi cyrhaedd pen ein taith yn iach ar yr ail o'r mis hwn, pan ein croesawyd â swper foethus, yn yr hon yr oedd amrywiaeth o flasus ffrwythau y Dyffryn wedi cael eu darparu ar ein cyfer.

Cychwynasom ar y 30ain o Orphenaf o Florence, gyda ein llaw-geirt, gynnifer o'r rhai ffyddiog ag oeddem, gan adael y rhai diffydd a gwan-galon ar ol i gyfarfod â'r canlyniadau o'u hanymdrech. * * * * * * *

Bu farw o'n cwmpeini y chwaer Brookes, o'r Gogledd, Henry Jenkins, Merthyr, Abraham Evans, ac un o Sir Benfro, ynghyd ac un o Ysgotland, a phlentyn Anne Williams, Llanelli. Gydag eithriad o'r cyntaf, buont oll farw ar ol cyrhaedd i Ddinas y Llyn Halen Mawr. Hefyd bu farw Henry Jenkins ac Edward Phillips, Caerdyf.

Cawsom daith hynod o lwyddiannus ar hyd y gwastadedd a thros y mynyddoedd, ynghyd a thywydd rhagorol deg. Ni chawsom eira ar hyd y ffordd, eithr daeth ystorom eira ar draws y cwmpeini wageni ag oeddynt o'n blaen, yr hon a barhaodd 24 o oriau, ac fe drengodd 18 o'u hanifeiliaid. Erbyn i ni gyrhaedd y mynyddau, yr oedd y gauaf wedi troi yn wanwyn siriol ar ein rhan, fel y goddiweddasom y wageni a'u gadael ar ol. Buont hwy chwech mis, a ninnau ddau fis ar yr un daith: yn hyn oll y mae yn amlwg ofal yr Arglwydd dros ei dlodion gyda llaw-geirt. Yr oedd Alma a Joam gyda mi a'm hanwyl wraig i'w llusgo yr holl ffordd: fe gerddodd Elisabeth, Mari, a Margaret yr holl ffordd. Teithiasom, ar rai diwrnodau, 30 milltir y dydd.

Y dillad anghenrheidiol i ddyfod gyda y llaw-geirt ydynt un *suit* o rai cynnes, ac un o rai ysgafn. Y *luggage* a ganiateir i rai

mewn oed yw 17 pwys yr un, a 10 i rai dan 14 oed. Y mae wageni yn cario *extra luggage* yn groes am 6¼c. y pwys.

Yr ydym yn byw yn Ninas Ogden, 40 milltir o Ddinas y Llyn Halen Fawr; wedi gweithio wythnos, ac ennill o 11 i 12 doler, (£2 5 10 i £2 10,) wrth dynu potato. Bu John Edwards, gynt o'r Cwmbach, yn garedig iawn i mi. * * * * *

Mae cnydau toreithiog eleni o wenith, ŷd, potato, &c., ynghyd a phob math o ffrwythau. [Beth ddywed y *Gwron* am geiliogod y rhedyn yn awr, wyddys.—Gol.]

Pris y gwenith yw dau ddoler y bwshel; y can, tair ceiniog y pwys; potato, doler y bwshel. * * * * *

Gan ddymuno y bydd yr ychydig gynghorion yma yn ddefnyddiol i ti, a chan obeithio dy fod yn byw yn unol a'th grefydd a chyda ein cofion oll, &c., terfynaf,

Dy anwyl Frawd,

HOPKIN MATTHEWS.

O Y.—Y Cymry a ddaethant yn groes i'r Plains gyda y llawgeirt eleni a gawsant mwyaf o ganmoliaeth gan y Prophwyd Brigham Young yn y Gymanfa.—H. M.

---

*Taliadau am Gyhoeddiadau a Thraethodau o Ebrill* 30 *hyd Mai* 29.—Isaac Jones, £1 2s. 7c.; John Jones, Brycheiniog, 10s.; E. D. Miles, £2 0s. 3c.; John Davies, £4; John Treharne, £1 4s. 1c.; David John, £5; Michael Vaughan, £5; W. Ajax, Dinbych, £1. Cyfanswm, £19 16s. 11c.

---

Bwriadwn gyhoeddi yr Erthyglau sydd yn y rhifyn hwn yn nghylch Drummond yn y ffurf o *draethawd*, fel y gallo y Saint ei ddosbarthu mor llydan, os gallant, a'r cylchrediad a gafodd y cyhuddiadau gwarthus a wrth-brofa, heb werthu eu Hudgyrn, a thori eu cyfrolau, &c., ac ymweled pob Llywydd â chynnifer o olygyddion fyddont yn ei ardal, gan ymddwyn fel y cyfarwydda y Llywydd Pratt.—Gol. yr *Udgorn.*

---

CYNNWYSIAD.




ABERTAWY:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 13.] MEHEFIN 13, 1857. [ CYF. X.

### LLYTHYR ODDIWRTH Y LLYWYDD B. YOUNG.

*Swyddfa y Llywydd,*
*Dinas Ll. H. Mawr.*
*Mawrth* 1, 1857.

Y Llywydd Orson Pratt,

Anwyl Frawd,—Oddiar pan yr ysgrifenasom ddiweddaf attoch, ni ddygwyddodd nemawr o hynodrwydd cyhoeddus. Y cytundeb i gludo y *mail* oddiyma i Independance, Unol Dalaethau, a syrthiodd i Hiram Kimball ac eraill, o'r ddinas hon, yn ol 23,000 o ddoleri y flwyddyn, am bedair mlynedd; ac mae y boneddwyr hyn wedi trefnu y mater yma yn y fath fodd, fel y dysgwylir y bydd yn ddarostyngedig i'n cyfarwyddid ni. Ar yr 8fed o'r mis diweddaf, anfonasom allan y mail cyntaf yn ddwyreiniol, yn ngofal wyth dyn, W. H. Hickman, blaenorydd; yr oedd ganddynt lawer o eira i fyned drosto, eithr ni amheuwn eu bod wedi gorchfygu y rhwystrau hyn, a'u bod yn awr yn agos i'r Talaethau.

Bydd i O. P. Rockwell, gyda chyflawn-res o wŷr, gario allan y mail hwn, a dechreu gweithrediadau i sefydlu "Cwmpeini Cludol," er trosglwyddo nwyddau a phersonau—gan adeiladu aros-fanau ar hyd y ffordd; a thrwy gael newid mulod yn yr aros fanau hyn, bwriadwn deithio yn groes i'r Gwastadedd yn gysson mewn ugain diwrnod.

Felly y geill ein masnachwyr, a'r rhai hyny a allant dalu y moddion, gael eu nwyddau mewn dogneddau mwy neu lai, fel yr erchant. Yn y diwedd fe ddichon i hyn ddinystrio masnach y masnachwyr, canys pwy a ddyry 40 cent. y pwys am siwgr a choffi, pan y gallant anfon yn mlaen eu mhoddion a'u heirchion, a'i gael wedi ei drosglwyddo yma am 25 neu 26 cent., a phethau eraill yn gyfartal? A chan y bydd ein *passenger trains* a nwyddau oll yn weddeuau mulod, yn teithio 50 milldir y dydd, pwy ar sydd a chanddo fodd yn Lloegr, neu yn y Talaethau, a fydd yn awr wrth y drafferth o brynu na wageni na gweddeuau ychain, a bod dri mis ar y Gwastadedd, yn flinderog mewn corph, ac aflonyddus mewn meddwl, pan y geill gael ei gludo, ynghyd a'i deulu gyda yr *express mail trains* hyn gyda yr hyn y geill fyned ag a fyno o lwyth, am y pris iselaf, yn fwy cyflym a chyda llawer llai o drafferth, nag y gallai trwy unrhyw ffordd arall drosglwyddo ei deulu? Neb

Galwaf eich sylw at y pwnc yma, fel y cynghoroc y rhai hyny a feddant fodd i ddyfod gyda y *cars* hyn, *via* Independence, Missouri.

A ellwch chwi ein hysbysu pa beth a ddaeth o'r Saint ag oeddynt yn ymroddedig fel milwyr yn y rhyfel Greimeaidd?

Egyr y gwanwyn gyda thecach argoelion am gyflawnder nac a welasom am rhai blynyddau, a chredwn fod y bobl mewn gwell sefyllfa i dderbyn, gwerthfawrogi, a mwynhau bendithion y nef.

Mae fy iechyd fy hunan yn dda, ac yn gwella fel yr egyr y tymhor, felly hefyd y mae gyda y brodyr Heber C. Kimball, Daniel H. Wells, a Joseph Young, hynaf.

A y brawd Horace E. Elridge yn mlaen i St. Louis, ac a ddifeichia y brawd Erastus Snow. Parha y brawd Elridge i weithredu fel ein gorchwyliwr yno.

Ni chymhellwn ychwaneg o ymfudiaeth trwy New Orleans, Saint Louis, a'r ffordd ddeheuol. Cymhellaf ffordd Boston, Chicago, ac Iowa, gan mai y ffordd ogleddol yw yr iachusaf. Ar unrhyw amser pan fydd genych *passengers* neu lwyth, neu y byddoch yn debyg o'u cael, rhagnodwch i ni trwy ein gorchwylwyr yn St. Louis a Florence, a gallwn ninnau hysbysu yr arweinyddion, ac felly gellwch gael y passengers i ddal ein cars mewn rhyw fan cyfleus, i'w enwi etto. Ein *mail agent* a bre-

swylia yn gyffredin yn Independence. Bydd i'r rheilffordd trwyodd i Council Bluffs gael ei chwblhau eleni, ac yna gobeithiwn y gallant gael *passage* trwyadl cyflym o'r dwyrain.

Yn olaf, amcanwn ar gael aros-fanau bob 50 milldir, a lluniaethau, ymborth anifeiliaid, &c., yno. Sefydlwn ychydig o'r cyfrai eleni. Felly chwi a ganfyddwch y geill dyn a'i deulu sydd yn brin o fodd gerdded o aros-fan i aros-fan, a chael adnewyddiad o ddiwalliadau yn mhob lle o'r fath heb orlwytho ei hun gyda llwythau go drwm ar y cyntaf, yr amser pan y mae yn leiaf arferol i'r fath ymdaith, nac mor dda alluog i'w sefyll ag y geill ar ol hyny.

Bydded i gyfran ychwanegol o wybodaeth ac ysbryd y gwirionedd, yn rhagori ar ddoethineb ddynol, a'r bendithion o heddwch, iechyd, a llwyddiant, fod ac aros gyda chwi.

BRIGHAM YOUNG.

---

## HANESION CYMMANFAOEDD, &c.

*Cymmanfa Orllewinol Morganwg*, a gynnaliwyd yn Neuadd y Saint, Orange Street, Abertawy.

Y Llywydd D. Daniels a Llywyddiaeth y Gynnadledd yn bresennol.

Yn y cyfarfod boreuol fe gyfammodwyd yn unfrydol i gydnabod ac ufuddhau holl awdurdodau yr Eglwys, o'r Prophwyd Brigham i waered hyd at Lywyddion y Canghenau.

Y Llywydd Davies a sylwodd ar effeithiau daionus y diwygiad, a'r angenrheidrwydd o barhau i bregethu diwygiad a diwygio. Cadarnhawyd ef yn hyn gan gyfrifon gwahanol lywyddion o sefyllfa eu Canghenau.

Am ddau y prydnawn, dysgodd y Llywydd Davies yn fanwl ar y gair Doethineb, ac ar yr angenrheidrwydd am ychwaneg o weithwyr ar faes y byd yn y Gynnadledd hon—fod y maes yn fawr a'r gweithwyr yn anaml—degau o bentrefydd yn cynnwys lluoedd o drigolion, yn newynu am air Duw, a chymhellodd yr Henuriaid a'r Offeiriaid i floeddio yn hir ac yn uchel hyd oni chlywo y bobl sain Efengyl Crist.

Y Llywydd Daniels a'i dilynodd, gan daer gymhell ar yr un pwnc, a sylwi ar y bendithion a'r orphwysfa hyfryd a fwyn-

heir ar ol cwblhau y daith, a byrdra yr amser i weithio, oblegid mai awr barn Duw ydyw.

Am chwech yn yr hwyr pregethodd yr Henuriaid D. Davies, Llanelli, a W. Powell, Llwyni, yn oleu ac eglur ar yr egwyddorion cyntaf—y blaenaf yn Gymraeg, a'r olaf yn Saesonaeg.

Nifer aelodau y Gynnadledd [yn unol a rheolau y Diwygiad] ydyw 148.

JOHN DAVIES, *Llywydd.*
WM. RICHARDS, *Ysgrifenydd.*

---

*Cymmanfa Ddwyreiniol Morganwg*, a gynnaliwyd yn Neuadd y Cymreigyddion, White Lion, Merthyr Tydfil, Mai 24, 1857.

Am hanner awr wedi deg o'r gloch, ar ol agor y Gymmanfa trwy ganu a gweddio, Y Llywydd A. S. Williams a ddywedodd:—Anwyl frodyr a chwaeriorydd: yr ydym wedi cyd-gyfarfod drachefn mewn cymmanfa. Amser adeiladu ydyw yn y gwaith hwn, ac, fel y gwyddom, drwy reswm, nad oes gwerth ar adeiliad heb drafferth i'w adeiladu; rhaid gweithio, neu ni ddaw yr adeiliad byth i ben. Mae Teyrnas Dduw ar y ddaear, ac nid ydyw i gael ei chymmeryd oddiar y ddaear drachefn. Adeiledir hi yn awr am y tro diweddaf; ac mae digon o le ynddi i bob un wneyd ei oreu, gymmaint ag a allo, ac i gynnyddu yn ein gallu yn barhaus—mewn pregethu allan ar hyd yr heolydd i y rhai hyny nad ydynt wedi canfod dim o ardderchawgrwydd y gwaith hwn; ond ni ag ydym wedi deall ychydig am Deyrnas *Dduw* mae genym allu i'w gosod hwynt ar y ffordd. Annogodd y Saint i weddio am lawer iawn o Ysbryd Duw, fel y caffom le da drwy y dydd; ac i bawb deimlo yn ddaionus wrth ymadael."

Y Llywydd William Miller:—Adnabyddir Sant wrth wedd ei wyneb, ac yr wyf innau yn teimlo yn ddedwydd yn y gred eich bod chwithau felly. Yr ydym yn ymofyn gwybod eich teimladau mewn cyssylltiad ag awdurdodau yr Eglwys, pa rai yn union a osodir ger eich bron. Y pwynt mawr at yr hwn y mae i ni ymestyn ydyw, byw i fynu i'n crefydd—Saint, byddwch fyw i'ch crefydd, neu chwi a gwympwch ar y ffordd; cadwch y Gair Doethineb. Achwyna rhai fy mod i wedi bod yn lled lym yn y Gymmanfa o'r blaen; nid wyf fi yn ymofyn gwenieithu i neb, ond gosod y gwirionedd o'u blaen yn ei liw

priodol, yn bur fel ag y mae; dyna y ffordd, ac os na dderbynia neb ef wedi hyny, i ba le yr ant? Ai i'r Nef? Nac ant; ond yn y llwybr a berthyna i anufudd-dod. Ond am danaf fi, yr wyf yn ymofyn byw gyda'r ffyddlon—marw gyda'r ffyddlon—a chael fy adgyfodiad gyda y rhai hyn, a'm gogoneddu gyda hwynt. Yn gymmaint a bod *Diwygiad* wedi ei ddechreu, Saint, gadewch i ni ymdrechu, a byw i'n crefydd.

Gosodwyd ger bron awdurdodau yr Eglwys, a chyfammododd pawb yn unfrydol i weddio drostynt, a rhoddi iddynt gyflawn ufudd-dod.

Yna darllenwyd gynnrychioliad y Gynnadledd gan yr Ysgrifenydd fel y canlyn:—Hen. 157, Off. 40, Dys. 22, Dia. 29, Bed. 35, Der. 44, Tros. 12, Tor. allan 3, Marw 2, Ymf. 3, Oll 607.

Cafwyd ychydig addysgiadau bywiog a buddiol iawn gan yr Hen. Dd. Rees, Aberaman, yr hwn a ymlawenhäai yn y Diwygiad, gan ein hannog i fyw yn unol a hyny.

Yr Hen. S. Roskelley:—Y mae ynwyf deimladau dedwydd drwy y dydd, yn neillduol yn y cyfarfod hwn, a phan y byddo dyn yn siarad dan ddylanwadau yr Ysbryd Glân, y mae yn rhwym o siarad athrawiaeth dda a chadarn, yr un fath a'r un a roddwyd gan y Llywydd Miller heddyw, er yn hytrach yn arw ac yn glogurnog i'r olwg, etto yn wirionedd. Mae ffordd Duw yn arw, ac nid fel ffyrdd y byd yn gyffredinol, i foddhau a choglais y dychymyg neu y mympwy. Ni allwch gael hyn mewn Henuriad yn Israel. Fel y Llywydd Miller, nid wyf yn teimlo gwenieitho llawer ar ddynion, ond pan y daw dyn i mewn i'r Eglwys hon dysgwyliaf iddo ddyfod yn gyfangwbl i mewn, a charu y gwirionedd noeth am yr hyn ydyw, ac nid er mwyn cael rhyw enw, neu elw a bywioliaeth drwy hyny.

Annogodd y Saint i gadw i fynu yn gyfochrog gyda chynnydd yr Eglwys, mewn gwybodaeth a dealltwriaeth, gan wybod os bydd i ni esgeuluso, a throi i gael hamdden, mai gwaith caled fydd dyfod i fynu a'i dal hi drachefn. Dangosodd yr angenrheidrwydd o gadw y gair Doethineb, a rhoddi ufydd-dod i'n Llywyddion, a reoli ein meddyliau, ein calonau, a'n chwantau, yna byddwn oddeutu bod yn iawn, a bydd i'r Arglwydd ein bendithio.

Yr Hen. Dewi E. Jones, a deimlai fod yn ufydd i'r offeir-

iadaeth yn wastadol, ac am i bob un os yn gweled brawd neu chwaer ar lawr, i roi help iddo godi, ac os bydd gwreichionen o fywyd ynddo, i'w henyn hi yn fwy, fel y byddom yn ymgyffelybu i'n Tad yr hwn sydd a'i ymysgaroedd yn ymchwyddo gan dosturi.

Y Llywydd Miller:—Teimlwyf yn dda yma; amser diwygiad ydyw; ac wrth fyned oddiamgylch, yr wyf yn cael fod diwygio yn cymmeryd lle, etto fod lle i ddiwygio mewn llawer o bethau. Y mae hyn mor ysgrythyrol ag un dim, sef, mai yr hwn sydd yn cynnorthwyo ei hunan a gynnorthwyir gan Dduw, a gofynaf pwy sydd yn foddlon gwneuthur yn ol goreu ei allu? Dyna yr hwn a gynnorthwyir gan Dduw. Etto, a ga yr hwn nad yw yn ymdrechu tuag at y Drysorfa Geiniogol ei waredigaeth? Attebaf, na cha; oblegid mai ar yr egwyddor a nodais mae Duw yn gweithio, er fod ambell i un yn llithro trwodd, etto ni wna sefyll. Egwyddorion eglur ac amlwg a ewyllysiwn osod ger eich bron. Ni wna, ni all sefyll, oblegid y bydd i'r rhagrithiwr ofni a chrynu yn Seion. Maent felly yn awr; mae y lle yno yn rhy dwym i'r hwn nad ydyw a'i holl galon am wasanaethu Duw.

Llawer oddiamgylch yma sydd yn achwyn am bethau na berthyna iddynt. Pe y llwybr oddiyma i Seion a gauid, ac na ddeuai neb oddiyno yma attoch, byddech mor farw a hoel drws; oblegyd buasai'r ffordd yn cael ei chai rhyngoch a bywyd; canys yn y lle hwnw, yn mhlith Prophwydi ac Apostolion y mae bywyd i'w gael. Dymunwn roddi ar eich meddwl y gair doethineb; mae addewidion pennodol mewn cyssylltiad a chadw hwn, yr un fath ag yn amser Israel, pan oedd taenellu gwaed ar byrth y drysau yn peru i'r angel dinystriol i fyned heibio. A pha beth ydyw yr addewidion yn yr oes hon? Onid ydyw yr Arglwydd wedi addaw yr un peth i'r hwn a geidw y Gair Doethineb? Ufyddhewch iddo; oblegid *fel mae byw yr Arglwydd* os na wnewch, cewch deimlo oddiwrth eich hanufydd dod

Mewn cyssylltiad a chadw y Gair Doethineb, mae, yn rhanol, y gallu o reoli: mae pläau a heintiau i gael ymweled a'r ddaear, fel y mae ychydig o honynt wedi bod. Mae y diafol i gael y ryddid i'n profi, fel y profwyd Job. Ydyw, y mae; canys yr un Arglwydd sydd yn fyw ac yn teyrnasu, ac Efe a ddyry y caniatad i'r un drwg Dylem, gan hyny, ymbarotoi, rhag i ni

syrthio dan y profedigaethau, ac fel y gallom fod yn ddiangol tra yr elo llid y Jehofah heibio

Diwygiwn yn mhob peth—mewn cario ynmlaen gyfarfodydd a llawer o bethau eraill. Un peth yn neillduol a nodaf: mewn rhai manau lle yr ymwelwyf a hwynt, gofynir i mi osod dwylaw ar y claf, bendithio plant, ordeinio rhai i swyddau, neu gadarnhau rai. Gosodaf fy nwylaw ar ben y brawd neu y chwaer, a gesyd brodyr eraill eu dwylaw gyda mi; yna, ar ol pob gair braidd a ddywedaf, bydd fy nau glust yn swnio gan gryf anadliadau y brodyr yn sibrwd eu hamenau seliadol. Diwygier yn hyn: pan y byddaf fi yn gweddio, dymunaf i bawb gyd-weddio yn eu calonau, a chadw yr amen iddynt oll ei dywedyd yn unfrydol ar ddiwedd y weddi, yn lle aflonyddu dyn pan yn siared a'i Dduw.

Mae genym fyw i'n crefydd, ac ymgadw i fyny gyda hi fel y nodwyd—nid cwympo i'r naill ochr, ac, ar ol cael hamdden fach, yn ymgodi, rhedeg a chwythu i geisio ei dal, a bod ar ol feallai er yr holl ymdrech yn dragywyddol.

Byddwch gydfynedol ag egwyddorion y deyrnas fel y deuant allan, a mwynhewch Ysbryd yr Arglwydd: yr ydwyf fi yn ei deimlo, ac mi a wn pa bryd y byddwyf yn ei deimlo.

Er fod, yn y dyddiau presennol, rhai dynion o'n hamgylch yn troi yn wrthgilwyr, ac yn ceisio gwrthwynebu y gwaith hwn, pa beth allant hwy wneuthur? Pe ond gwybuasant fod Duw wrth y llyw, ac nad all eu breichiau eîddilaidd hwynt attal ei waith, troent o'r ffordd. Ni hidia yr Arglwydd am danynt hwy na'r diafol; ac os na thry y fath gymmeriadau o'r ffordd, hwy a sernir dan draed; canys nid oes y gallu yn bod a ddichon attal llwyddiant y gwaith hwn. Yr wyf yn gwybod hyn: mae Duw wrth y pen, a phe cesglid holl alluoedd daear ac uffern ynghyd er gwrthwynebu, ni fuasai yr oll ond *blank*, ïe, *blank!* ac mae Duw yn sicr o ymweled â'r cyfryw ddynion â dialedd, ond nid cyn y bydd ei blant Ef yn ddiangol. Y drygionus yn unig a ddyoddefant; ïe, mae y ffordd i gael ei darparu er ein gwaredigaeth ni. Yna y bydd i Dduw dywallt ei lid a'i ddigofaint ar y drygionus, yr un fath ag oedd yn Sodom; yr Arglwydd, y pryd hwnw, a anfonodd ei angel i waered er hysbysu ei amcanion, a thrwy hyny y diangodd Lot; felly etto, onid oes genym Brophwydi? a phan y bydd pob peth yn barod oni hys-

bysa yr Arglwydd iddynt hwy ei amcanion, fel y diangom?

Cadwch orchymynion Duw, a byddwch fyw i'ch crefydd, a theimlaf ddywedyd, Yr Arglwydd a'ch bendithio, yn enw Iesu Grist. Amen.

Yr Hen. Benjamin Evans a lefarodd ar yr angenrheidrwydd o gadw, yn gyssegredig a didòr, ein cyfammodau â Duw.

Cydunwyd i'r Henuriad Evan Richards gael ei ryddhau o fod yn Henuriad Teithiol yn y Gynnadledd hon, fel y gallo fyned i deithio trwy Cynnadledd Caerdyf.

*Yn y cyfarfod hwyrol* fe gafwyd amser daionus, a phregethwyd yn nerthol a phwysig gan y brodyr Dewi E. Jones, S. Roskelley, Wm. Miller, Evan Richards, a'r Llywydd Williams, ac yna aeth y Saint i'w ffordd yn llawen, gan ddweyd mai hon oedd y Gymmanfa oreu etto.

ABEDNEGO S. WILLIAMS, *Llywydd.*
ANEURIN L. JONES, *Ysgrifenydd.*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MEHEFIN 13, 1857.

NEWYDDION O'R DYFFRYN.—Derbyniasom y *Deseret News* hyd Ebrill 1, ac amryw lythyron i'n hunain ac eraill. Dymunem i bawb a dderbyniont newyddion o ddyddordeb i'r *cyhoedd*, eu hanfon i'r *Udgorn.*

Difynwn o lythyr y brawd F. D. Richards:—

"Wedi gweled ein teilwng frawd D. Jones, cefais iawn ddealltwriaeth ynghylch anrheg y Saint Cymreig i mi a'r brodyr D. Spencer a C. H. Wheelock. Cymmeraf gan hyny y cyfleustra hwn i gyflwyno i chwi a'r Saint yn Nghymru gydnabyddiaethau diolchgar pob un o honom, am yr unrhyw, ac i'ch sicrhau chwi a hwythau ein bod yn cyflawn werthfawrogi

y teimladau da a dueddasant y weithred. Teimlwn i'w bendithio, a dywedyd, y cânt eu bendithio am haelioni undybiadol at leshad Teyrnas Dduw, ac i'w weision, ac na fyddant yn ol o'u gwobr.

"Dilys y bydd ddyddorol genych ddeall fod gwaith mawr Duw yn cynnyddn yn nerthol yn y diriogaeth hon, a'r llinell wahaniaethol yn dyfod yn fwy amlwg yn ddyddiol. Yn ystod y gauaf mynedol, mae y bobl wedi bod yn ymegnio byw yn agosach at Dduw nag feallai y buont oddiar cyfodiad yr Eglwys hon yn y dyddiau diweddaf. Gwnaethant iawn lle yr oedd ei angen; edifarhasant am eu holl bechodau, ac a ail-fedyddiwyd, gan amlaf. Y canlyniad yw fod y cyfarfodydd yn cael eu gorlenwi; ymddiried yn naill y llall, yn yr Offeiriadaeth, ac yn Nuw, sydd wedi mawr ledaenu, a sylfaen weledig sydd wedi cael ei gosod er dadhenhuddiad buan o fwriadau y Goruchaf mewn perthynas i'w deyrnas ar y ddaear. Yn Seion, ni eill pechaduriaid fodoli lawer yn hwy; eithr pawb a drigant ar y tir cyssegredig a ffafredig hwn, a rhaid sefyll wrth gyfraith nefol.

"Y dylanwad a grëwyd yma, a deimlir yn ddiamheuol hyd derfynau eithaf y byd lle y mae Eglwys wedi cael ei chyfodi, ac y dysgir egwyddorion iachawdwriaeth, gan ychwanegu mwy o brawf argyhoeddiadol at y ffaith fod Duw yn sicr wedi sefydlu ei Deyrnas yn mhlith dynion, ac yn fuan y cymmer ei Fab Iesu ffrwynau llywodraeth, hyd gauad allan bob daearol-deyrn, a llwyr frawychiad a dyrysiad yr annuwiol. Mewn golwg o'r pethau hyn mae gan y Saint pur a rhinweddol fawr lawenydd yn ngwawriad y dydd hwnw a'i dadguddia ef o'r Nefoedd i osod ei bobl yn rhydd, ac yn mha un ei gyhoeddir yn frenin dros y cyfan.

"Da genyf ddywedyd y fod, er prinder y cnydau y flwyddyn ddiweddaf, a'r un flaenorol, sail dda i gredu fod digonedd o wenith a rhai mathau eraill o gynnyrch yn bodoli i'r holl bobl hyd gynhauaf arall. Mae ystor-dai yr Arglwydd yn y ddinas hon yn tuchan dan bwys degymau y bobl hyn, ac etto mae y gwenith, yr ŷd, &c., o hyd yn dyfod i mewn.

"Ein hanwyl Brophwyd, y br. Brigham, y br. Heber, ac eraill, ydynt wedi tystio fod Duw wedi amlhau y llafuriau ar ol iddo gael ei gasglu i lafurdai y Saint; canys ar ol y cynhauaf.

diweddaf, a chyn i ddim blawd gael ei anfon allan i'r ymfudwyr ar y Plains, meddyliwyd gan lawer na fyddai digon i barhau yn hirach nag Ebrill o'r flwyddyn hon. Pa'm lai na chynnyddu ystoroedd y Saint? Oni chynnyddwyd costrelaid olew a dyrnaid blawd y weddw yn yr hen amseroedd pan yr oedd gan Dduw brophwyd ar y ddaear i wneuthur ei ewyllys? Do, yn sicr; ac a fydd Efe fwy diofal o'i Saint yn y dyddiau hyn, pan y mae pethau lawer pwysicach ynghylch dyfod i ben, nag a wybuwyd erioed oddiar crëad y byd?

"Wrth derfynu, gweddiaf ar i Dduw eich bendithio chwi yn helaeth at y gwaith a roddwyd arnoch mewn hwyluso ei waith, ac o'r hwn y gwnaeth chwi yn weinidog. Gobeithiwyf fod eich iechyd yn dda, fel y mae yr eiddo finnau a'r br. Spencer; mae iechyd y br. Wheelock yn o dlawd. Unant gyda mi mewn cofiant hoff o'ch hunan a'ch cydlafurwyr.

Yr eiddoch yn ffyddlon,

F. D. Richards.

---

Ar ol edrych yn fanwl dros y *Deseret News*, ni allasom gael cip drem ar y mymryn lleiaf o hanes am "*wrthryfel Mormonaidd!*" "*Brigham Young wedi cilio o'r lle!*" na lladd na llosgi na dim o'r fath, ond son am adeiladu Teyrnas Dduw yn hwylus. Canfyddwn wahoddiad am 300 o drinwyr a seiri meini i ddechreu gweithio, yn mis Ebrill diweddaf, ar y gweithiau cyhoeddus,—hanes y lluoedd gweithwyr ar gamlas y Big Cottonwood—darpariadau y "Cwmpeini Cludawl" i ymsefydlu ar hyd y Plains, a phob cangen o fasgnach yn fywiog a llawn gwaith, a'r melusaf o'r oll ydyw amrywiol bregethau Prophwydi ac Apostolion yr Iesu, rhai o ba rai a ddifynwn fel y caniata lle. Am sefyllfa grefyddol y bobl ni ychwanegwn ar hanes y brawd F. D. Richards.

Pellebrwyd (*telegraphwyd*) o Saint Louis i Gaerefrog Newydd fel y canlyn:—

"*Newyddion o Ddinas Ll. H. Mawr*,

"St. Louis, Mai 18, 1857.

"Cyrhaeddodd llythyr-gerbyd dros-dirol Utah hyd yma gyda dyddiadau Salt Lake o Ebrill 2.

"Yr oedd y Diriogaeth yn heddychol. Ymddarperid i ddanfon cryn nifer o genhadon i bob parth o'r byd.

"Ni chyduna yr hanesion o symudiadau Brigham Young a'r rhai a dderbyniwyd *via* Califfornia. Ymddengys ei fod yn meddu ymddyried cyflawn y bobl, ac yr oedd yn cynllunio ymgyrch pleserawl i'r sefydliadau Mormonaidd ar yr Afon Salmon.

"Am rhyw achos anhysbys mae y Mormoniaid yn San Bernardino a'r sefydliadau cylchynol wedi cael eu herchu i Ddinas Ll. H. Mawr.

"Y Cheyennes (ar y Plains) oeddynt yn dyfod yn ëon a heriol. Hysbysodd fasgnachydd a gyrhaeddodd o Fort Laramie fod yr Indiaid wedi cydnabod y golled o 60 o ryfelwyr a anfonwyd i wneuthur galanastra ar y ffordd Galiffornaidd, yn herwydd yr hyn y maent wedi gwneuthur carcharorion o 16 o fasgnachwyr. ac wedi anfon 100 o rhyfelwyr i'r ffordd a nodwyd i ddial y golled."

---

NEWYN.—*Detroit, Mai* 15, 1857.—Derbyniwyd hanes yma am ddinystr mawr yn Gramoi County, a chymmydogaethau eraill yn rhan ogleddol Talaeth Michigan. Bu amryw bersonau farw o newyn, ac yr oedd anifeiliaid yn trengu gan angen. —*Mormon.*

DAEARGRYNFAAU.—Soniwyd yn ein rhifyn blaenorol am ddaeargryn Califfornia; rhoddwn, yn awr, y manylion canlynol o'r *Deseret News*:—"Siglodd ysgwydiadau ysgafn daeargryn San Francisco ar yr 8fed a'r 9fed, a Sacramento ar yr 16eg o Ionawr.

"Dygwyddodd daeargryn yn Fort Tejon ar foreu yr 8fed o Ionawr. Parhaodd yr ysgydwad o dri i bum mynyd, ac a siglodd furiau adobie a simneuau i lawr. Lladdwyd un fenyw, (Mecsicanes.)

"EFFAITH Y DAEARGRYN.—Y tu isaf i Benson's Ferry, dyfroedd yr afon Mokelumne, yr hon ydoedd wedi ei chwyddo yn fawr gan wlawogydd diweddar, a daflwyd dros y geulanau, gan adael gwely y ffrŵd yn agos noeth. Chwyrn ysgydwyd tai, dinystriwyd gwydr-bethau, a thaflwyd celfi i lawr. Canghenau a dorwyd oddiwrth goed, y coed mewn rhai enghreifftiau yn ymsefydlu i waered ddwy neu dair troedfedd i'r ddaear. Trigol-

ion yr ardal a darawyd â dychryn, tra yr ymddangosai anifeiliaid mudion yn barlysedig.—*Sacramento Age.*"

Yn Ionawr, ac yn agos i Fynyddau San Joaquim Ranch, Califfornia, cafodd Sheriff o'r enw Barton, a thri o'i gwmpeini, eu lladd gan ladron-pen-heol. Yr oedd pobl Los Angeles a'r sefydliadau cylchynol wedi corffori pwyllgorau ymchwiliadol, dal tua 40 o bersonau, a chrogi 4.—*Los Angeles Star.*—[Rhyfedd na bai un ffaith fach o'r fath yma yn dyfod i'r amlwg ar ol y "dirgel ymgorfforiad llw-rwymedig" a ddywedir eu bod yn Utah, onide?—Gol.]

Cadben Dan Jones (meddai y *Deseret News*) sydd wedi ein hysbysu ei fod wedi dechreu hwylio dros ein llyn [Halen] yn y 'Timely Gul,' a adeiladwyd ac a berchenogir gan y Llywydd Young, ac iddo angori yn mhorthladd Black Rock, ar y 13eg [o Fawrth] gyda "llong-lwyth cyffredinol," ag oedd, gan fwyaf, yn gynnwysgedig o bren cedrwydd, halen mân, a cherrig llorio i ochr-lwybrau, lloriau seleri, &c., yr hyn bethau sydd ganddo ar werth yn Black Rock, hefyd yn ei drigle yn y 14th Ward, am brisiau resymol.

"Hysbysa Cabden Jones ni hefyd ei fod wedi gwneuthur trefniadan i gwareli digonedd o slât tôi, y rhai y meddylia efe a ymgystadleuant a phris presennol shingles. [Rhwydd hynt i'n hen gadben, awelon nef a lanwont ei hwyliau, a Duw Israel a'i llywio ef a'i long ar hyd ffordd llwyddiant. Ni allwn roddi ychwaneg am dano yn y rhifyn hwn.

Traethodau.—Yr ydym yn anfon y 7fed a'r 8fed draethawd o'r gyfres newydd gyda y rhifyn hwn. Er nad yw y gyfres yn darfod ar hyn, etto bwriadodd yr awdwr gymmeryd hamdden ar ol cyhoeddiad yr wythfed rhifyn.

Trwy ein hyder a'n gwybodaeth flaenorol am gynnildeb a iawn-drefniant y llywyddion, a ffyddlondeb y Saint i dalu eu degwm i'r Arglwydd, dysgwyliwn y bydd y Cynnadleddau yn agos, os nad hollol rhydd â'r Swyddfa hon, er eu bod mewn dyled trwm yn awr, fel y gallom dalu dyled y Swyddfa i Eglwys Dduw, *perchenog yr oll a gyhoeddwn*, Osron Pratt, goruchwyliwr, tra y mae y fath angen a galw am yr arian. Rhwyddach fyth y gorchwyl pan na fydd ond yr *Udgorn* bob pythefnos yn hwy, ar a wyddom yn bresennol.

Dymunem gael ychwaneg etto o'r rhifynau hyny o *Udgorn* y

gyfrol o'r blaen a gyhoeddasom am danynt er's amser yn ol, a gwneir cymmwynas a ni.

---

## HANESION CYMMANFAOEDD, &c.

(*Parhad o Tud.* 200.)

4, East Lane, Tredegar,
Mehefin 4, 1857.

Y Llywydd D. Daniels—Anwyl Frawd,

Buaswn wedi danfon attoch yn gynt, ond yr oeddwn yn aros i'r Gymmanfa fyned heibio, fel y gallaswn gael cyfrif y rhai a fedyddiwyd er dechreu y diwygiad. Yr oeddwn wedi bedyddio tri ar ddeg o rai newydd er pan y dechreuodd y diwygiad. Cawsom gymmanfa dda iawn y tro hwn. Yr oedd yma ddylanwad da iawn trwy y dydd.

Yn y boreu, gosodasom awdurdodau yr Eglwys ger bron yn y dull arferol, a chydnabyddwyd hwy yn unfrydol. Cyfammodwyd i gyfranu at y gwaith yn ol eu cynghorau.

Yn y boreu dysgodd y br. S. Roskelly nad oedd yn ddoethineb i neb o'r Saint i fegian ar un dyn i ddyfod yn y blaen. Os nad oes gan ddynion ddigon o gariad at y gwaith wedi iddynt unwaith fod yn yr Eglwys, a chael tystiolaeth o'r gwirionedd, gwell fyddai eu gadael i fyned i uffern i ddysgu ufydd-dod. Terfynwyd y cyfarfod dan fendith y Llyw. Miller.

Am ddau, fe ddysgodd y br. Harris, a dangosodd fod Dyffryn y Mynyddoedd yn rhagori ar y wlad hon mewn llawer iawn o bethau, megis ei awyr, a'i ddyfroedd, a'i fod yn iachach o lawer. Dywedodd hefyd ei fod ef yn adnabyddus a y rhai hyny sydd yn flaenoriaid i'n bobl yn y lle hwnw—eu bod yn ddynion da a duwiol, ac mai hwynthwy ydynt y dynion goreu a welodd ef erioed.

Yna dysgodd y Llywydd Miller i'r Saint a'r pechaduriaid fod yn rhaid iddynt i gadw cyfraith Duw os ydynt yn meddwl cael bywyd tragywyddol. Profodd hyny o'r Bibl, gyda dylanwad nerthol.

Rhif y Gynnadledd hon yn awr yw 190. Yr wyf yn gwybod am lawer etto sydd yn penderfynu dyfod, ac adnewyddu eu cyfammod. Ar ben y cwarter hwn gwnaf i'r brawd Vaughan wneud *list* o arian y degwm—pa faint sydd wedi dyfod i mewn

yn y chwech mis diweddaf, a'r hyn sydd wedi ei dalu allan, ac at beth yr ydwyf wedi eu talu, fel y byddoch i gael gweled pa fodd yr ydym yn myned yn y blaen yma. Cewch wybod faint o ddyled hefyd sydd arnom, ac i bwy y mae.

Mae y brawd Miller wedi myned ymaith i Gaerdydd. Y mae Francis yma gyda fi yn bresennol.

BENJAMIN EVANS.

---

CYMMANFAOEDD Y GOGLEDD.

(Allan o *Weekly Gazette* y Bugail Jones.)

Dinbych, Mehefin 1, 1857.

Yr wythnos ddiweddaf yr oedd y Br. Taylor a minnau oddiamgylch, ac yn pregethu pan oedd amser a lle yn caniatâu. Cawsom gymmanfa dda iawn y ddoe, amryw o frodyr a chwiorydd wedi dyfod ynghyd, ac yr oedd Ysbryd Duw yn ein plith yn helaeth iawn, a phawb wrth eu bodd—y Br. Taylor mor llawen a neb o honom. Cadwasom ddau gyfarfod yn y tŷ, a dau allan yn ganol y dref; un am hanner awr wedi pedwar y prydnawn, a'r llall am hanner awr wedi saith; a chawsom gannoedd i'n gwrando, rhai yn credu peth, ac amryw yn ammeu llawer. Mae gelyniaeth yn cynnyddu bob dydd, yn mhob man yr ydym yn myned. Mae Babilon yn llanw ei chwpan bob dydd; etto yr wyf yn meddwl pan y daw y dydd y bydd i'r Saint ymadael o'r wlad hon yn annysgwyliadwy, y byddant yn agor eu llygaid a synu, gan ddywedyd, "Aroswch dipyn bach, dyma ni yn d'od yn awr." Dyma'r stori fyddwyf yn ddysgwyl; wedi hyny bydd mwy o awydd arnynt hwy am gael gweision Duw i'w plith na fu, efallai, ynom ni i fyned atynt.

Digon tebyg pe byddai i ddynion wybod am y bendithion sydd ar eu cyfer y byddent yn dda nawr, ond nid ydynt. Yr ydym i weithio allan ein iachawdwriaeth, a hyny trwy ffydd. Yr wyf yn fynych yn dywedyd wrth y Saint fod Duw yn delio at ei blant yn debyg fel mae tad daearol yn gwneud. Weithiau bydd yn cymhell ei fab i'r ysgol; yntau yn nacâu, er dweyd wrtho, "Os a'i di i'r ysgol, a bod yn fachgen da, ti gei deisen gyrants, a cheiniog ar ol dyfod yn ol." "Na wna i ddim," ebe'r gwr bach. Mae y tad neu y fam yn cymhell yn fwyn yn awr; ond wrth weled y plentyn yn peidio trwy degwch, yna y mae

yn edrych yn ddig, gan afaelyd yn y wialen, a dywedyd yn chwerw, "Mae yn rhaid i ti'r gwr bach, fyned, a myned 'nawr, heb deisen na cheiniog hefyd." Felly hefyd gyda'r efengyl; mae ei gwahoddiadau yn fwyn yn awr, a gwell cusan y mab rhag iddo ddigio, a gwneud i ni a phawb ymgrynu o'n hanfodd.

Mae y Gynnadledd hon yn ychydig yn llai nag oedd, fel y gwelwch yn llythyr Ajax. 55 yw yr holl rifedi trwy'r Gynnadledd. Y chwarter diweddaf yr oedd llawer o'r Brodyr allan o waith. Nid oedd yr holl gasgliadau o'r Gymmanfa ddiweddaf hyd hon ond £6 9s. Mae hyn wedi ein taflu yn ol yn eich swyddfa chwi a Lerpwll * * *

Gallaf ddweyd fod y br. Taylor yn un o'r goreu etto o'r Seison,—yn foddlon ar bob peth. Yr ydym fel dau ŷch wedi eu cydfagu erioed yn yr un preseb: mae yr holl Saint yn ei garu yn fawr. Byddwn yr wythnos hon trwy Fflint yn pregethu fel y gallwn. Mae y brodyr sydd genym allan yn y byd fel cewri; byddaf gyda hwynt, a thrwy yr holl wlad fel hwythau, ar ol Cymmanfa y Br. John. Mae yr holl Saint gyda eu holl ddyledswyddau, a'r holl swyddwyr yn pregethu yn mhob man. Yr wyf yn benderfynol o gwblhau'm gwaith yr haf hwn yn y wlad hon. J. E. Jones.

---

Dinbych, Mehefin 1, 1857.

Anwyl Frodyr Daniels a Miller,—

Yr ydwyf yn ymdaro yn wych yn mhlith fy ngwladwyr mabwysiedig; canys teimlwyf fy hun yn gymmaint o Gymro a neb ag sydd yn nheyrnas Dduw; oblegid ynddi hi nid ydym na chaethion na rhyddion, Iuddewon na Groegiaid, Saeson na Chymry. ond yn un yn Nghrist Iesu trwy ei efengyl.

Wel, gobeithiaf eich bod yn mwynhau yr iechyd goreu fel yr ydym ni *boys* y Gogledd yn bresennol.

Cawsom Gymmanfa rhagorol y ddoe, a phregethasom allan yn y dref yn y prydnawn a'r hwyr, a chawsom gannoedd i'n clywed. Yr ydym wedi teithio trwy, a phregethu mewn rhai llefydd yr wythnos hon. Yn gyffredin, gwrendy y bobl yn astud iawn; eithr ymddengys ysbryd lled ddrygionus yn y bobl ieuainc, yn gefnogol gan y bobl henach.

Ni chredaf fod pobl yr ardaloedd hyn a nemawr angen am begethu llawer ychwaneg 'wrthynt; canys meddyliaf eu bod

yn teimlo fel pe gwrthodent ni a'r efengyl a gynnygiwn iddynt: teimlant yn ddrygionus iawn tuag attom fel pobl.

Mae y Saint i fyny yma yn bobl da, ac yn deilwng o bob bendithion, a theimlwyf mwy-fwy o ymlyniad wrthynt bob dydd. Y maent yn gweithio yn ddiffuant am eu hiachawdwriaeth, ac mae ganddynt nifer o ddynion dewrion allan yn profi y byd, ac y maent yn ei wneuthur o ddifrif fel dynion Duw.

Pan yr edrychwyf pa faint y mae y Saint yn wneuthur i fyny yma, gyda yr ychydig foddion a chyfleustra sydd ganddynt, teimlwyf i ddywedyd, Duw a'ch bendithio; canys os teilwng fu unrhyw bobl erioed, teilyngwch gael eich bendithio. Y maent wedi cael eu bendithio a dynion da i lywyddu drostynt—rhai o wŷr-mawreddog yr Arglwydd, megis John E. Jones, J. Treharne, W. Ajax, David John, Hugh Evans, ac eraill ag ydwyf yn ymhoffi ynddynt.

Dechreuwn deithio heddyw i Gynnadledd Fflint, gan ymweled a'r cangenau fel yr awn yn mlaen.

Y llythyr tramor a gefais oedd o'r Iowa Camp, oddiwrth y Br. Ashby. Pob peth yn dda, ac yn agos parod i gychwyn. Y br. Israel Evans ydoedd i arwain y cwmpeini cyntaf o lawgeirt i'r Dyffryn. Hwrrah dros Gymru—yr oll bobl yn iach. * * *

Fy nghofion attoch chwi a'ch cynnorthwywyr yn y Swyddfa.

Iechyd, nerth, doethineb, a gallu o'r uchelder a fyddont i chwi, ydyw gweddi

Yr eiddoch,

James Taylor.

---

☞ Englynion Dewi Elfed, a'r llythyr o'r Dyffryn i Lanybydder, oeddynt rhy hwyr i'r rhifyn hwn. Byddant yr un mor ddyddorol a groesawgar genym yn ein nesaf.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

Rhif. 14.] MEHEFIN 27, 1857. [ Cyf. X.


### LLYTHYRON O'R DYFFRYN.

*Dinas y Llyn Halen Mawr,*
*Mawrth* 30, 1857.

Fy anwyl briod—Yr oeddwn wedi meddwl y buasech yn cael eich ryddhau i ddychwelyd i fynwes yr Eglwys, ac at eich teulu anwyl, y flwyddyn hon; eithr erbyn hyn yr ydwyf wedi cael ar ddeall drwy y *Mormon* eich bod wedi cael eich penodi i aros yn Nghymru un flwyddyn yn ychwaneg. Er bod fy nymuniad i yn awyddus dros pen am gael eich gweled, etto, drwy nerth yr Ysbryd Glân, ymfoddlonaf, ac yr ydwyf yn gweddio yn feunyddiol am i ewyllys Duw i gael ei gwneuthur mewn perthynas i'ch cenadiaeth bwysig.

Gobeithiwyf fod y brawd Hendry Harris wedi cyrhaedd yna erbyn hyn yn ddiogel: efe a ddyry hanes mwy cyflawn o bethau nag a allaf fi ysgrifenu mewn llythyr. Ond mae rhai pethau wedi dygwydd ar ol ei ymadawiad o'r Dyffryn—mae gweithio prysur ar y deml yn bresennol, a galwad ar yr oll o'r seiri meini ag sydd o fewn y Diriogaeth a allont ei wneuthur yn gyfleus i ddyfod i weithio arni.

Manylach o hyd yw yr addysgiadau a roddir gan y dysgawdwyr, ddydd ar ol dydd, ac helaethach ydyw tywalltiadau yr Ysbryd Glan ar yr ufyddion nag ei deimlwyd erioed o'r blaen.

Y Lamaniaid ydynt yn cynnyddu mewn gwybodaeth: mae rhai o honynt yn cael gweledigaethau nefolaidd. Mae y gwaith

dwyfol yn myned rhag ei flaen yn rhyfeddol yn mhob ystyriaeth. Mae amryw wedi ac i gael eu galw i fyned ar genadiaeth i Lloegr: mae dau o gymry, sef Wm. P. Thomas, Box Elder, a Wm. Jenkins, gynt o Gaerdyf; a dywedir y bydd rhywrai eraill o'r Cymry i gael eu galw cyn elo y Gymmanfa heibio. Mae Dafydd a minnau yn iach, a phob peth yn dda. Mae Thomas a'i wraig yn iach ac yn llwyddo: mae ganddynt ferch a dau fab.

Mae yr oll Gymry sydd yma yn ddiwahan yn cofio atoch, ac yn teimlo fod eich cenadiaeth yn Nghymru yn un hir iawn. Cydweddiant a mi am i chwi gael nerth i fod yn ffyddlon yn eich cenadiaeth. ac am i'r amser ddyfod pan gaffom eich cymdeithas ddymunol yn Nyffryn y Llyn Halen.

Mae y Llywyddion Young a Kimball, ynghyd a chwmpein lluosog o Saint, yn bwriadu myned ar *exploring expedition* i'r gogledd. Mae gwneuthuriadau cartrefol yn cael mawr gefnogaeth—ymwneir a gwaith gwlan trwy yr holl Diriogaeth, a chymhellir pawb i hau llîn. Mae y cenedloedd yn gyffredin yn ymadael, a llawer o wrthgilwyr digred yn myned gyda hwynt. Mae yr amser wedi dyfod pan na chaiff y segurwr fwyta bara y gweithiwr. Y drygionus a'r rhagrithiwr yn Seion sydd yn ofni wrth glywed cyfraith Duw yn cael ei dysgu. Mae purdeb a santeiddrwydd yn cynnyddu, ac anghyfiawnder a drygioni yn gorfod diflanu o'r tir.

Bwriedir cael *express* i redeg yn ol ac yn mlaen oddiyma i'r Talaethau, gan ddechreu yn ystod y tymhor hwn. Mae amryw yn cael eu danfon i ymsefydlu mewn gwahanol fanau ar hyd y Plains i'r perwyl.

Meddylir mai â llaw-geirt y teithia y cenadon dros y Plains o hyn allan, ac nid gyda meirch a mulod.

Cafwyd cnydau toreithiog o wenith trwy y Diriogaeth y tymhor diweddaf, ac y mae argoelion da am gyffelyb fendith y tymhor dyfodol. Y mae porfeydd rhagorol eisoes, ac argoelion am ddigon o ddwfr i ddyfrhau y tiroedd. * * *

Y ddoe dychwelodd y brodyr W. P. Thomas a Benjamin Thomas oddiyma i Box Elder: anfonant eu cofio atoch yn garedig; felly hefyd y gwna y br. Capt. Jones, John Davis, T. C. Martill, Thomas a David Jeremy, Wm. Lewis, Thos. James, Owen Roberts, John Evans, a'r lleill o'r Cymry sydd yn arfer

ymweled a ni. Cofiwch fi a Dafydd yn garedig at fy chwiorydd a'u gwŷr a'u teuluoedd, at eich brodyr a'ch chwiorydd chwi, a'r hen wraig eich mam, os yw yn fyw. Cofiwch fi at deulu Cwmcoch, ac Hannah Williams o'r 'Masons': mae Richard ei mab yn cofio atynt. Annerchwch fi at deulu Crybynau, Llawrbarth, &c. Enfyn y brodyr Jeremy a Martill eu cofio at yr holl Saint a'u hadnabyddynt. Mae y br. J. Lewis, Sadler, gynt o Llanelli, yn y tŷ yn bresennol, ac yn dymuno ei gofio atoch. Mae brawd Sam Thomas yn dymuno arnoch ei gofio ef a'i deulu at ei dad, ei frodyr, a'i chwiorydd. Gobeithia weled Hannah ei chwaer yn dyfod drosodd i'r Dyffryn. Cofiwch ef a'i wraig at Evan Jones: gobeithiant y cant ei weled yntau yn y Dyffryn.

Dymunaf arnoch ysgrifenu mor fuan ag y gallwch.

Eich ufydd Briod,

MARY DANIELS.

---

*Brigham City, Box Elder County,*
*Chwefror* 15, 1857.

At Mrs. Mary Thomas, ger Llanybyther.

Fy anwyl Fam, Chwiorydd, &c.—Unwaith etto wele fi a'm teulu yn ymblesern i ysgrifenu atoch, gan obeithio eich bod yn iach a chysurus fel ag ydym ni wedi bod o hyd oddiar pan ddaethom i'r lle hyfryd hwn, diolch i'r Hwn a'm galwodd allan o Babilon orthrymus.

Derbyniais eich caredig lythyr am Medi 20, '56 yn mhen pedwar mis: rhwystrodd yr eira y llythyr gerbyd. * *

Er fod mawr eira ar y mynyddoedd, fel arferol, mae y gauaf yn hyfryd yn y Dyffrynoedd, lle mae y Mormoniaid. Mae yr anifeiliaid yn dewon, ac yn chwareu fel y gwelais hwynt yna yn yr haf.

Yr ydwyt yn gorfod cadw un mulyn yn yr ystabl o hyd i Evan mofyn y da adref erbyn nos, fel na chaffo y bleiddiaid eu difa. Maent yn lladd anifeiliaid weithiau, os na fyddwn yn ofalus: lladdasant ddau o'm lloi i y flwyddyn ddiweddaf oherwydd ty niofalwch, mewn rhan, a dywedais, Dim rhagor! Aethym I a Benjamin Thomas, gynt o'r Gelly Green, i ddechreu eu lladd hwynt, a lladdasom 30 o honynt mewn llai na mis.

Cawsom gropau da yr haf diweddaf: dodais tua hanner fy

ngwenith yr hydref diweddaf, bwriadwn ddodi y cyfan, ond aethym i a Margaret, Daniel a MaryAnne i S. L. City i gyfarfod a'r cwmpeini diweddaf o ymfudwyr a ddaethant i mewn, yn mha un yr oedd ein brawd Dan Jones, yr hwn a ddaeth a'n harian yn ddiogel. * * *

Ni wn yn iawn etto pa un a fyddaf yn dyfod yn ol ar genadiaeth i Gymru ai peidio: caf wybod cyn hir. *All is right with me, us I am a Mormon.* Os byddaf yn dyfod, da genyf bod fy nheulu mewn sefyllfa gysurus am gynnaliaeth tra byddwyf yna. Er fod genyf wartheg, ychain, mulod, ceffyl, &c., etto pan gychwynaf, gadawaf y cwbl i'm teulu, oddieithr ychydig o luniaeth, a handcart i'w gludo dros yr eang-faith wastadedd, lle nad oes na thy na thrigfa braidd ond Indiaid. Cychwynaf yn nerth fy Nuw, gan hyderu y llefara Efe trwyof iachawdwriaeth i bawb a'i derbynio.

Gan fy mod wedi dywedyd cymmaint am drefn yr iachawdwriaeth, pe na chawn gyfle mwy, yr ydwyf yn rhydd, mae Duw yn dyst! Mam anwyl! chwiorydd hoff! frawd neu frodyr yn nghyfraith! Na throwch glust fyddar at wahoddiadau y nef tra y maent yn eich plith! Na ddysgwyliwch i mi dd'od yn ol; yr un yw gwahoddiadau y nef trwy y rhai sydd yna yn eich plith: ewch i'w gwrandaw hwynt er gwaethaf holl erlidigaethau masnachwyr eneidiau; ïe, byd, cnawd, a diafol. Ewch i ba le bynnag y clywoch fod Saint y Dyddiau Diweddaf yn pregethu, er mwyn eich cadwedigaeth tragywyddol. Ewch i'w gwrando; yn wir y maent yn cyhoeddi bywyd neu farwolaeth i bwy bynnag a'u clywont. * * *

Pan dderbyniais yr arian gan y brawd Dan Jones, gweddill o'r hyn a ganiatäais i'r brawd Daniels i gynnorthwyo y Saint tlodion i ddyfod yma, teimlwn yn alarus am na fuasai y rhan a dderbyniais i yn eich cynnorthwyo chwi, fy anwyl fam neu chwiorydd, i ddyfod i'r man lle mae eich hewyllysiwr da. Mae genyf ddigon i'ch cludo, ddim ond cael y newydd eich bod wedi ufyddhau i Efengyl Grist, fel y dywedais o'r blaen. Fe'm credwyd yn hyn gan chwech o bersonau o ardal Llanelli, er na welsant fi erioed, ac y maent yma yn bresennol yn fy mendithio am eu gwaredigaeth. * * *

Hyn yn fyr ac annhrefnus oddiwrth

Eich ffyddlon fab, a'i deulu,

WILLIAM THOMAS.

# CYNLLWYN-LOFRUDDIAD

## YR APOSTOL PARLEY P. PRATT.

*(O'r Star.)*

MERTHYR arall a gwympodd—gwas ffyddlon arall i Dduw sydd wedi selio ei dystiolaeth bur a nefol i wirionedd Llyfr Mormon a'i waed. Er yn anwyl frawd ein hunain yn ol y cnawd, etto ni wylwn. Efe a syrthiodd mewn achos cyfiawn—efe a syrthiodd yn yr amddiffyniad o ddiniweidrwydd dyoddefiedig, tra yn ymdrechu cynnorthwyo trwy ei lythyron, menyw ddigymmorth gyda ei phlant bychain, i ddianc rhag cynddeiriogrwydd ei herlidwyr ffyrnig. Yr ydoedd wedi cael ei wneuthur yn adnabyddus, trwy y cyfryngau mwyaf cymmeradwy, â'r desgrifiad tost a mwyaf tor-calonus o'i dyoddefiadau. Flynyddau yn ol, yr oedd y fenyw dlawd wedi cael ei throi allan i heolydd San Francisco, ar noswaith dywyll echrydus, yn ddiartref ac anamddiffynol, gan anghenfil dideimlad a chreulon o ŵr. Am flynyddau yr oedd ei bywyd wedi cael ei fygwth, ac arfau marwol eu hannelu at ei phen; ac i gyrhaedd eithafion creulonedd, efe a rwygodd y plant o goel eu mham hoff, gan eu lladratta, heb yn wybod iddi, ac a'u *smyglodd* ar fwrdd agerdd-long i'r Môr Tawel, i fyned dros filoedd o filldiroedd o ddwfr a thir, yn anghyd-deimladol a diofal drostynt, i borthladd pellenig New Orleans. Y weithred annynol ellyllol, yn ychwanegedig at gyfres ei dyoddefiadau, a wnaeth iddi benderfynu i ymwrthod dros fyth a chyfeillach un yr hwn nis gallasai byth mwyach edrych arno megis gwr, eithr fel gormeswr dideimlad, annynol, ac anghenfilaidd. Cymmerodd yr ymraniad terfynol le yn San Francisco tua dwy flynedd yn ol.

Gan gael ar ddeall fod ei phlant wedi cael eu hanfon at ei rhieni, yn agos i New Orleans, hi a hwyliodd, yn amddifad o gyfaill ac amddifynwr, am y porthladd hwnw. Ar ei chyrhaeddiad, pa beth oedd ei syndod i ddeall fod ei rhieni yn y cynllun tywyll, ac na chaffai ryddid gyda ei phlant ei hun. Ac, o'r diwedd, gan ymflino ar yr erlidigaethau a ddyoddefodd, hi a gychwynodd heb un cydnabod i'w hebrwng, am Diriogaeth Utah—taith o dua thair mil o filldiroedd, o New Orleans. Ar ol caledion diamgyffred hi a gyrhaeddodd i Ddinas y Llyn Halen Mawr, yn hydref 1855. Yn hydref 1856, hi a ddychwelodd

drachefn at ei rhieni yn New Orleans, a rhyw amser tua therfyn y flwyddyn ddiweddaf, hi a lwyddodd i waredu ei phlant o'u caethiwed annaturiol a gormesol, a ffodd gyda ei theulu bychan i Texas. Ond yr anifail uflernol yn Nghaliffornia, â'r hwn yr oedd hi wedi ymadael er ys tua dwy flynedd, a ddaeth mewn dilyniad; a chan fod wedi llogi rai o'r hen erlidwyr "Mormonaidd" i gyssylltu gydag ef yn ei waed-sychedig ymgyrch, efe, o'r diwedd a gafodd wrthddrych ei gam driniaeth flaenorol, ac a rwygodd drachefn o'i mynwes ei hanwyl blant bychain.

Mae cydymdeimlad miloedd ag ydynt wedi cael eu gwneuthur yn adnabyddus a dyoddefiadau anghydmarol y foneddiges hon, wedi cael ei ddeffro drosti hi. Yn mhlith y rai hyn, da genym ddweyd, yr oedd y dyngarwr mawr, a'r dyn da hwnw, Parley P. Pratt, yr hwn, wrth ddeall y ffeithiau o'i diangiad hi gyda ei phlant, a geisiodd i'w chyfarwyddo trwy lythyron gyda y post, o ddilyniad ei hen elyn. Tra yn ymwneyd a'r gwaith hwn o ddynoliaeth, yr anghenfil hwn o Galiffornia, a dyngodd allan gyfraith-ysgrif yn ei erbyn ef ac amrai eraill, o dan gyhuddiad gau o ledrad, Profwyd hwynt o flaen dirprwywyr yr Unol Daleithiau, yn Van Buren, Arkansas, a hwy a gafwyd yn ddieuog, ac a ryddhawyd. Yna y mwrddwr, mewn modd llechwraidd, a arosodd iddo ymadael ; ac yn mhen tua deg mynyd wedi hyny, yn nghwmpeini dau o fwrddwyr eraill, y cychwynodd mewn dilyniad ; yr oll yn ymsychedu am waed y gwirion. Tua deuddeg milldir o Van Buren, ar y ffordd a arweinia yn ogleddol, daethant i fyny a'u ysglyfaeth—taniasant saith ergyd, ac yna a'i gwaniasant amryw weithiau yn ei ochr chwith, un o'r gwaniadau yn trywanu ei galon. Ar ol hyn bu fyw tua dwy awr a hanner.

Ac felly y syrthiodd yn ysglyfaeth ei elynion dallbleidiol, ond yn gyfaill dynoliaeth ddyoddefiedig.

Y gohebiaeth a ganlyn, dyddiedig Cincinnati, Ohio, Chwefror 20fed, 1857, a gymmerwyd allan o un o newyddiaduron Caerefrog Newydd, a ddyry ychwaneg o fanylion ynghylch—

Y Fam a'i Phlant.—Yn ystod fy nghenadiaethau diweddar i Galiffornia, daethym yn adnabyddus â'r rhês ganlynol o amgylchiadau gresynol a thorcalonus, yn tyfu allan o'r ysbryd caeth-farnawl, yr hwn, waetha'r modd, sydd o hyd yn hynodu rhai o sectau mwyaf poblogaidd yr oes.

Yr oedd teulu neillduol wedi ymfudo o'r Deheu ychydig flynyddau yn ol, ac yn byw y pryd hwnw yn San Francisco; yn cynnwys dyn, ei wraig, a thri o blant, dyn ieuanc, yr hwn ydoedd yn frawd i'r wraig, ac yn bwrddio yn y teulu.

Yr oedd y cyfan yn gangen o foncyff Bresbyteraidd hen a lled hynod, a drigai o hyd yn nghylchoedd New Orleans.

Y foneddiges ydoedd yn un drwyadl a dysgedig, yn ymroddedig i ddarllen ac ymchwiliadau meddyliol; ac a oedd, ar y cyfan, yn fenyw o farn gywir, ac o ysgogiad meddwl anymddibynol.

Fel y mae yn gyffreding gyda y fath feddyliau, nid oedd gan y foneddiges hon ond ymchwilio i Formoniaeth mewn trefn i ddyfod yn y modd cadarnaf yn argyhoeddedig o'i gwirioneddau.

Dymunai, gan hyny, i'w chofleidio. Wrth ddeall y ffeithiau hyn, dangosodd y gwr a'r tad y gwrthwynebiad mwyaf treisiog a gormesol. Gwnaent ruo, malu ewyn, rhegu, difrio, ystormio, a difenwi, &c., ond yr oll yn ofer. Yr oedd y foneddiges o'r un meddwl o hyd, ac yn dymuno ufyddhau i'r Efengyl.

Y gwr o'r diwedd a brynodd gors gleddyf, *(sword cane,)* gyda yr hwn yr aeth i mewn i'r parlwr ar un diwrnod; a, chan droi yn wyneb-las gan gynddeiriogrwydd, efe a ddadwaenodd yr unrhyw yn mhresenoldeb ei wraig, a chan ei bygwth ac annelu y dur noeth dros ei phen, tyngodd gyda llw arswydus, fod yr arf hwnw wedi cael ei brynu yn bennodol iddi hi, a'r gweinidog a feiddiai ei bedyddio, ac y caffai drywanu bywydoliaeth y ddau y diwrnod y bedyddid hi.

Ei brawd, yn ei dro, a annelodd yr un arf drosti hi yn yr un dull nwydwyllt, gyda yr un bygythiadau.

Y rhai hyn, ac amrai fygythiadau, drwg-enwau, a chamdriniaethau eraill a adroddwyd o bryd i bryd, a wasanaethasant i rhwystro bedyddiad y foneddiges am ryw ddwy flynedd—yr Henuriaid, yn y man hyna yn ei wneuthur yn bwnc i beidio a bedyddio menyw heb ganiatad y gwr.

Ar ol llawer ymdrech boenus a gweddigar, hi a gafodd ganiatad ysgrifenedig ei gwr, o'r diwedd, ac a fedyddiwyd, a chadarnhawyd hi yn rheolaidd yn aelod o Eglwys y Saint. Arosodd o hyd yn wraig a mam ffyddlon ac ufydd. Gwasanaethodd ei gwr, edrychodd ar ol ei elwau, cadwodd ei dŷ, parhaodd i fwrddio ei brawd, ac a hyfforddodd ei phlant yn ffyrdd ufydd-dod, moesoldeb, a gwirionedd. Cymmerodd drafferth mawr yn eu haddysg, ac a'u dysgodd i gredu yn Iesu Grist, i ddarllen y Bibl, ac i ganu a gweddio.

Yr oedd ei gwr o hyd yn arw a gormesol yn y radd uchelaf. Bygythiwyd ei bywyd yn aml, ac hollol waharddwyd hi i son am unrhyw bwnc o'i chrefydd yn mhresennoldeb ei gwr, neu i draws-ddodi i'w sylw un frawddeg allan o un o lyfrau yr Eglwys. Nid oedd ganddi y fraint o hyd y nod canu un llinell o'i llyfr hymnau yn ei glywedigaeth. Gan fod wedi byw yn y

caethiwed annaturiol hwn am ychydig flynyddau, a dyoddef gydag addfwynder ac ufydd-dod bob sen, dirmyg, ac anmharch a allasai gormeswr bentyru arni, hi a anturiodd o'r diwedd, ar un prydnawn Sul llonydd, i ganu yn ei bresennoldeb dwy linell o un o'i hymnau ffafriol. [Gwel Llyfr Hymnau Seisnig y Saint tud. 201.]

*Behold the great Redeemer comes,*
*To bring his ransomed people home!*

Ei gwr, wrth glywed hyn, a aeth i nwydau gorwyllt; crafangodd y llyfr o'i llaw, rhwygodd ef yn ddarnau, a thaflodd ef i'r tân. Yna gosododd ddwylaw treisiol arni, ac a'i gwthiodd allan i'r rheol, gan gloi y drws arni. Yr oedd yn hwyr, yn dywyll, ac yn un o heolydd cefnog tywyll San Francisco, lle na ystyrid menyw anamddiffvnol braidd yn ddyogel am foment. Aeth, modd bynnag, i dŷ cymmydogaethol, ac a ddanfonodd genad yn union at Dr. ———. hen physigwr teuluaidd, yr hwn oedd yn gyfaill i'r naill a'r llall—iddi hi a'i gwr. Taflodd ei hun ar ei amddiffyniaeth, ac efe a'i harweiniodd i *hotel* o gymmeriad da, lle y lletyodd ac y bwrddiodd ar gost y gwr. Y diwrnod nesaf galwodd ar gofnodydd y ddinas, a gwnaeth lw o'r ymosodiad a'r niwed a chreulonderau eraill ei gwr, gan fynu ei ddal, ac y caffai hi ei dyogelu yn ei bywyd a'i heddwch yn y dyfodol. Eithr trwy ddylanwad Dr. ———, a phleidiau eraill mewn llefydd uchel, y mater yn y diwedd a adawyd, ac ymddangosai y pleidiau fod wedi cymmodu mor bell, ag iddi hi ddychwelyd i'w thŷ, ac a gymmerodd ofal drachefn o'i phlant, ac o gadwraeth tŷ ei gwr.

Am ychydig wythnosau, ymddangosai pob peth fel pe yn myned yn mlaen fel arfer. Aeth y gwr a'r brawd at eu gorchwyl dyddiol—dychwelasant yn yr iawn oriau, cawsont eu prydiau bwyd mewn trefn, a'r cynnildeb, diwydrwydd, a chrynodeb ag ydoedd hi erioed wedi arddangos mewn ceisio gwneuthur cartref yn ddymunol.

Ar ddydd neillduol—boreu-fwyd drosodd, a'r gwr a'r brawd wedi myned at fusnes ar awr gynnar, fel arferol, hi a gynnullodd ei phlant, yn ol ei threfn arferol, i ddyledswydd teuluaidd.

Cynnwysai y rhai hyn ddau fab, rhwng wyth a deng mlwydd oed, a merch yn saith. Y fam a'r plant a gymmysgasant eu lleisiau llon yn yr emyn boreuol, ac a blygasant y glin ynghyd mewn dwys weddi—yr hwn bryd, gan gyfodi oddiar eu penliniau, roddodd y plant i'w hanwyl fam y cusan ymadawol arferol, ac a frysiasant ymaith yn llon i ysgol y ddinas.

O! mor lleied y pryd hwnw y deallai y fam dyner hono a'r babanod gwirion hyny y brofedigaeth arswydus a'u harosent yn ddisymwth; neu y byddai i ddau gefn-for a chyfandir eu rhanu hwynt cyn y cwrddent drachefn.

Na soniwch am Rhufain, am Nero, am yr oesoedd tywyll,

neu am yr Ymholiad Spaniaidd. Ni allai y rhai hyn yn gyssylliedig braidd ffurfio cydmariaeth deilwng i'w chydmaru a digalonog, dideimlad, annynol, anwar, a gwaeth nag ellyllol drais y bedwaredd ganrif ar bymtheg. A hyn oll yn cael ei gyflawnu gan Brotestaniaid mewn gwlad rydd! Na, yn hytrach gan y perthynas agosaf, ac ar fenyw a phlant digymmorth!

Yr hwyr a ddaeth—y gwr a'r brawd a ddychwelasant oddiwrth fusnes y dydd—eithr plant ni ddaethant i loni calon mam hoffus. Pa le mae ein plant? floeddiai y fam anesmwyth, mewn braw.

Y gwr anifeilaidd, a'r brawd dideimlad a attebasant, gyda gwên ddieflig, neu sèn fuddygoliaethus—Maent ar fynwes y Môr Tawel, ni welwch chwi hwynt byth mwyach—hwy a ddygir i fyny yn Bresbytariaid—Nid Mormoniaid!

Yr unig atteb i hyn oedd ysgrech wyllt a chwymp sydyn.—Yr oedd y fam wedi llewygu! Yr oedd ei chalon fel pe byddai wedi marw o'i mhewn. Arosodd drwy y noswaith echrydus hono mewn llewygion yn mhob yn ail a phangau—ar droion yn deffro i ddealltwriaeth synwyrol o'i hanghyfanedd-dra: "Rachael yn wylo am ei phlant, ac ni chysurid oherwydd nad oeddynt." Deffröai weithiau mor bell o'i llewygion ag i ruo, a chrwydro, a galw yn groch am ei rhai bychain wrth eu henwau, ac yna torrai allan mewn dagrau—ochneidiai a galarai, ac yn y diwedd, cwympai ymaith, ac elai yn ddisynwyr.

Safodd y gwr a'r brawd anifeilaidd uwch ei phen trwy yr holl nos, rywbeth yn ofidus a brawychus, eithr ni feiddient alw am physigwr nac unrhyw gymmorth, rhag i'w creulondeb ellyllaidd gael ei ddynoethu yn ei holl hylldra. Yn y boreu, gan orfod myned at eu busnes ar awr gynnar, gadawsant hi yn unigol yn y tŷ, gan ei chloi i mewn megis carcharor, mewn unigolrwydd ac anallu.

Er hyny hi a wellhaodd ddigon yn y boreu i agor ffenestr a chyfodi cynhwrf. Dysgodd y cymmydogion yn fuan am y gwir amgylchiadau, a chydymdeimlasant yn ei hamddifadrwydd. Cynnygiodd rhai o'r masnachwyr ag oeddynt fwyaf adnabyddus a'r teulu i wneuthur casgliad, a'i hanfon hi at ei phlant, gan y cafwyd ar ddeall yn fuan eu bod wedi cael eu hanfon at ei rhieni hi yn New Orleans.

Darfu i warthrudd cyhoeddus effeithio ar y gwr a'r brawd ystyfnig y cyfryw gyfnewidiad ag y methodd dynol gydymdeimlad gyflawni. Gwelasant fod yn rhaid i'r mater gael ei wella a'i dawelu mor bell ag oedd ddichonadwy gan ammodau.

Yr oeddynt wedi bod yn cynllwynio am wythnosau, ac, drwy gynnorthwy penboethiaid eraill o'u sect, wedi darparu blychau o wisgoedd i'r plant, ac wedi codi trwyddedi iddynt ar y drawsffordd rhwng y Môr Tawel a'r Môr Werydd. Gan fod a phob peth yn barod, yr oeddynt wedi gwylied mantais i'w cipio o'r ysgol, a'u gosod ar fwrdd agerdd-long heb gymmaint a ffarwel olwg neu air oddiwrth eu mam, ac wedi eu trosglwyddo i ofal

dyeithriaid i basio dau fôr a chyfandir, heb un perthynas na chydnabod i'w caru neu i ofalu drostynt.

Hyn wedi ei wneuthur, y penboethiaid annynol oeddynt wedi gwrthsefyll holl apeliadau hyawdl a thor-calonus mam, a dim ond ofn gwarth, neu lidiawgrwydd pobl cynhyrfiedig a digllawn a'u gorfododd hwynt i ammodu, a thawelu pob cynhwrf pellach, trwy gyduno i anfon y fam at ei phlant.

O'r diwedd dyddanwyd a chysurwyd hi â'r gobaith o'u dilyn yn mhen pythefnos, ar yr agerdd fad nesaf; aeth yn ddystaw a diwyd i weithio er darparu gogyfer a'r daith. Ei thŷ oedd yn awr yn anghyfanedd ac unig tuhwnt i oddefiad. Gan hyny, gyda chaniatad ei gwr, treuliodd yr amser gyda rai cyfeillion yn y wlad, hyd yn agos amser ei moriad.

Ond, och! nid oedd ei phrofedigaethau ond wedi newydd ddechreu. Cafodd fordaith lwyddiannus i New Orleans; cafodd afael yn ei rhieni, a chyda hwynt dau o'i phlant ieuangaf;—ond och! y llall ni chaniatawyd iddi ei weled byth. Mae efe yn nghel ragddi yn rhyw ran bellenig o'r wlad. Cafodd fod ei rhieni a'i brodyr a'i chwiorydd Presbyteraidd penboeth a chalon galed yn y cynllwyn. Daliwyd ei phlant ganddynt mewn caethiwed, o dan wyliadwriaeth fanwl megis carcharorion. Rhaid iddi beidio ag ymgyfeillachu a hwynt, hyd y nod yn nhy ei thad ei hun, oddieithr yn mhresennoldeb eraill—rhaid iddi beidio a chysgu yn yr un ystafell, nac hyd y nod i ymneillduo i ystafell ddirgel, i blygu y glin gyda hwynt ar awr weddi, fel yr oedd bob amser wedi ymarfer wneuthur. Mewn gair, yr oedd hi mewn caethiwed annyoddefol, a phob dydd yn cael ei chamdrin, ei sarhau, ei gwawdio, ei chellwair, a'i difenwi yn mhob dull dichonadwy. Dyoddefodd y pethau hyn am fisoedd, a chan gael ei hun yn suddo dan aumharch a gormes pentyredig y rhai hyny a ddylasent fod yn gyfeillion iddi; yn ogystal ag o dan effeithiau hin heintiog haf nesäol New Orleans; darfu iddi, gyda chaniatad ei phlant, eu gadael am dymhor, gan fyned i'r gogledd, gan addaw dychwelyd attynt mewn amser gweddus.

Gwnaeth ei ffordd, o'r diwedd, ar ol caledion a gorchestion diamgyffred, i Ddinas y Llyn Halen Mawr, lle y cyrhaeddodd yn ddiogel yn Hydref, 1855. Yr oedd, trwy yr hirdaith hon, wedi adferyd cryn dipyn ar ei hiechyd, ac yn ddidwyll i anian mam, dechreuodd yn uniongyrchol, ac ymegniodd yn barhaus mewn dull manwl o gynnildeb a diwydrwydd, mewn trefn i brynu ei rhwymedigaeth i'w phlant.

Dysgodd ysgol yn y ddinas hono yn agos yn ddiysgog am un flwyddyn. Yna gwnaeth ei ffordd dros y gwastadedd cethin, am ryw bymtheg cant o filltiroedd i yml gorllewinol y Talaethau ac yna i waered ar hyd yr afonydd at y plant.

Fe ddichon fod yr hanes a ddaeth allan yn y New Orleans *Bulletin*, ryw amser yn agos i ddiwedd y flwyddyn ddiweddaf, yn cyfeirio ati hi.

Os felly, gan wneuthur iawn gyfrif am ei aml annwireddau a'i gamddarluniadau, egyr bennod arall yn ei bywyd gwyllt-weddaidd ac arwraidd.

Pe buasai y foneddiges a enwir wedi meddu gwr tirion a mwyn, yn lle gorthrymwr dideimlad, ni fuasai gwahaniaethau crefyddol wedi ranu y teulu hyd heddyw; ond i'r gwrthwyneb, y tad, y fam, a'r plant a allasent fod o hyd yn byw yn San Francisco mewn heddwch.

Nid Mormoniaeth, [fel y dywed y *Bulletin*] ond *Presbyteriaeth,* a dorodd i fyny y teulu

CYFAILL Y GORTHRYMEDIG.

Cincinnatti, Ohio, Chwefror 20, 1857.

---

## YCHWANEG O FANYLION AM Y LLOFRUDDIAD.

Arkansas, America, ar fwrdd yr Agerdd-long *H. Tucker,*
Afon Arkansas, Mai 22, 1857.

Anwyl Frawd Orson,—Y mae wedi dyfod yn ddyledswydd boenus i mi anfon ar led y newydd o garchariad a llofruddiad eich hanwyl frawd Parley. Gwn y bydd yn loesawg i chwi gael deall fod ei gorph wedi cael ei gigyddio, ac iddo orwedd lawn awr heb i neb ddyfod atto i gyfodi ei ben neu roddi llymaid o ddwfr iddo, er ei fod mewn llawn olwg ty lle y trigai teulu o'r enw Winn.

Yr oeddwn i yn ymdeithio yn mlaen yn esmwyth mewn wagen, mewn cenedl Indiaidd, gyda fy mhlant, ar *frontiers* Arkansas, pan y'm cyfarfyddwyd gan Mc'Lean, ellyll fy mywyd. Rhwygodd y plant ymaith, ac yna mynodd fy nal ar y cyhuddiad o ladratta dillad a berthynent i ac a wisgid gan fy mlant—Albert ac Annie McLean. Enwyd hefyd yn y cy-huddiad, P. P. Pratt, James Gamwell, ac Elias Gamwell, oll yn cael eu ceisio fel yn ymwneyd a'r lladrad hwn o werth deg dolar o ddillad, ar gefnan fy mlant.

Y dydd canlynol, ar ol fy naliad i, clywais fod eich brawd hefyd wedi cael ei ddal; yr oedd y cynhwrf mwyaf yn ffynu, a phan y marchogasom mewn golwg i'r man lle yr oeddynt a Parley, gwelais ef yn gorwedd ar y llawr fel dyn yn ymorphwys i'w geffyl bori. Yr oedd yn ymgylchynedig gan ddeuddeg neu bedwar ar ddeg o wyr arfog—swyddogion mil-wrol a milwyr. Disgynais, gyda chaniatad y marshal, yr hwn a farchogodd gyda mi, ac a aethym at y brawd Parley, ac

estynais fy llaw, gan ddywedyd, "Frawd Parley, yr ydym wedi cwrdd, mae yn debyg, fel carcharorion." Dywedodd, "Pa fodd y mae eich hiechyd, Madam? a ydych chwi wedi bod yn iach?" Yna dywedais, "Y mae genym un peth i ddiolch i Dduw am dano; yr ydym wedi dysgu pa fodd i fyw a pha fodd i farw." Ac yna, gan edrych oddiamgylch ar y milwyr, crochfloeddiais, "Ni eill *yr holl ddynion arfog a'r milwyr* hyn *ddim ond* lladd y corph, ac yr ydwyf fi mor barod i farw ag i fyw." Efe a attebodd ddim ond, "Y mae oll mewn un bywyd bychan, ac nid yw hyn ond brycheuyn o dragywyddoldeb."

Yna gosodwyd ni i farchogaeth yn galed am bum milltir ar ugain, efe yn rwymedig gan râff oddeutu ei swrn, yr hon a ddaliwyd gan swyddog a farchogai yn agos atto. Daliasant hefyd ddyn ieuanc arall, yr hwn a gafwyd yn pregethu i Genedl y Creek; a phan y gadawsom Fort Gibson, yr oedd efe a Parley mewn cadwynau, a minnau mewn cerbyd—oherwydd yr oeddwn mor friw fel nas gallaswn farchog ceffyl. Gyrodd milwyr y cerbyd, a marchogodd y Marshall gyda y ddau ag oeddynt mewn cadwynau.

Marchogasom o Fort Gibson, dydd Sadwrn, Sul, ac hanner dydd Llun, yr hyn a'n dygodd i dref Van Buren, ar afon Arkansas, Talaeth Arkansas. Cymmerwyd ni wedi hyny o flaen y llys, ddim ond i gael dweyd wrthym y gallem fyned ymaith—"CANYS NI ALLWN GAEL DIM YN EICH HERRYN."

Yr ydwyf wedi ysgrifenu hanes cyflawn i'r *Mormon*, yr hwn, gobeithiwyf, a welwch, eithr rhag iddo gael ei rwystro, dywedaf yn fyr, mai pan ryddhawyd Parley o'r carchar, dilynodd McLean ef yn mhen tua deng mynyd, gyda dau ddyn, dinasyddion o Van Buren, yn agos ar ei ol, ac yn fuan wedi hyny niferoedd o ddynion eraill. Deuddeg milldir o'r dref, ar y ffordd a arweinia yn ogleddol. daethant i fyny a'ch brawd, taniasant saith ergyd, ac yna gwanasant ef yn ei ochr chwith —un o'r gwaniadau yn trywanu ei galon. Ni wnaeth y chwech pelen gyntaf ond tyllau yn ngodreu ei got; yna blaenwyd ef gan un o'r dynion, yr hyn a'i taflodd mewn gwrth-darawiad agos a McLean, *a'r ellyll hwnw ei hun a roddodd iddo y clwyf marwol;* ac ar ol ei adael megis yn farw, daeth yn ei ol, a

thaniodd atto lle y gorweddai ar y ddaear, gollyngodd y llawddryll i gwympo wrth ei ochr, ac ymadawodd!

Aethym i'w weled o dan nawdd y "Gwir Marshall," y dydd canlynol, manylion yr hyn a anfonais i'r brawd Taylor, Caerefrog Newydd.

Darfu i'r brawd Higginson a'm hunan amwisgo ei gorph marw mewn lliain main, ac arosodd y brawd Higginson i'w weled ef yn cael ei osod yn y ddaear, tua milldir o'r lle ei laddwyd. Bu fyw ddwy awr a hanner, ac attebodd amryw ofyniadau a ofynwyd iddo gan y cymmydogion yn agos i'r fan.

Diwallodd dinasyddion Van Buren fi a'r modd i ymadael yn mhen pedwar diwrnod ar ol yr olygfa waedlyd hon, ac yr ydwyf yn awr yn unig ar fy ffordd nis gwn i ba le; ond mi a wn fod Ysbryd Duw gyda mi, ac nid oes genyf unpeth i'w ofni.

Yr ydwyf yn unig iawn—gweddia drosof, tydi wr Duw, fel y safwyf yn gadarn hyd y diwedd, a chael fy achub gyda yr Iesu, Joseph, a Parley, yn Nheyrnas Nefol Duw, Amen.

Eich Chwaer,

ELEANOR J. MCLEAN.

---

## GALARNAD YR AMDDIFAID, WRTH GLYWED AM FERTHYRDOD EU TAD.

Mi glywais alar dwys o bell fynyddig dref;
Y banau creiglyd fry hydreiddiwyd gan y llef,
Dros fryn, a nant, a dôl, y swn yn rhedeg gaed,
Hyd fedd yr un a ga'dd lofruddio'i wirion waed.

Llais gwragedd oedd a phlant mewn dirwyllt ofid mawr,
A'u llef i'r nef, mewn deigr, am esmwythâd yn awr;
Canys gwybuant hwy, o dir pellenig wlad,
Y newydd na chaent mwy i wel'd llon wyneb tad.

Mai o fewn gwlad y *chwant*, *halogrwydd* brwnt, a *gwin*,
Lle unwaith buont byw dan winwydd melus rin;
Y tad a phriod mwyn rhan Merthyr iddo fu,
Trwy ddwylaw *dieifl*, dan lwyth o lid a digder du.

Ei galon wanwyd trwy, syrthiodd ar ddaear laith,
Heb neb i godi ei ben, na rhwymo'i archoll chwaith;
Er byw am oriau rai, ni welodd gyfaill cu,
Y gallai anfon gair o'i hynt pan farw bu.

Cynnyddai'r galar hyd nes cyrhaedd gorsedd nef,
Ac *Eloheim Ei hun* ei wialen gymerth Ef,
Dywedodd, "Torraf *hwynt*, dileaf *hwynt* bob un,
"Am ladd Prophwydi mad ar dir eu gwlad eu hun.

"Anfonaf arnynt *newyn, plâ*, y rhyfel ddaw,
"Fy llengoedd alwaf Fi o'r tir gogleddol draw,
"A'u *hela gant* yn mhob rhyw wlad. bob enaid byw,
"Lle mathrwyd gwaed pob un o achau Joseph – clyw!

"Gwaed Parley nid yn hir ca ddadleu ger fy mron,
"Am lid ar sawl a wnaeth 'r uffernawl weithred hon;
"A chyn y peidia'i waedd, ca'r genedl hon *roi iawn*
"Am bob amddifad gri, y weddw a'i dagrau llawn.

"Pob dafn o wirion waed dywalltwyd yn y byd,
"Yn fuan ddaw i lawr ar benau rhai'n i gyd;
"Canys unwaith tyngais *i'm fy hun a'm gorsedd gain*,
"*Yn Llyfr y Bywyd byth ni welir enwau rhai'n!*"

[Gan y Foneddiges erlidiedig, E. J. McLean.—Gol. y *Star*.]

Cyf. Dewi Elfed Jones.

---

## HANESION CYMMANFAOEDD, &c.

---

*Cymmanfa Llanelli* a gynnaliwyd Mai 24—y Llywydd D. Daniels a Llywyddiaeth y Gynnadledd yn bresennol.

Yn y cyfarfod boreuol fe gymmeradwywyd holl awdurdodau yr Eglwys ar y ddaear, o'r Prophwyd Brigham i waered hyd at Lywyddion y Cangenau.

Cafwyd hanes gweithrediadau y *Diwygiad* ar y cangenau o'r byd, gan yr henuriaid llywyddol—bod rhai lawer iawn yn well, ac eraill lawer yn waeth, o'r Saint a'r byd, a bod y diafol yn ymgynhyrfu,

Sylwodd y Ll. Davies bod yr Efengyl yn llwyddo yn y Gynnadledd hon, ac yn effeithio yn sicr y naill ffordd neu y llall, fel yr haul yn toddi y cwyr a chaledi y clai—er mai ychydig o'r byd sydd yn cymmeryd eu hachub ganddi, etto hi a gondemnia bob enaid o'r gweddill. Bod y Saint yn y Gynnadledd hon yn ymburo o'r bron oddieithr y rhai ag y mae eu goleuni wedi troi yn dywyllwch caddugawl.

Yn y cyfarfodydd dilynol pregethodd amryw henuriaid lleol

a chymmydogaethol ar egwyddorion buddiol i'r Saint a'r byd.

Y Llywydd Daniels a daer gymhellodd y gwrandawyr i wrandaw ar ac ufyddhau i eiriau diysgog Duw trwy ei weision awdurdodedig, er mwyn achubiaeth eu heneidian gwerthfawr, tra y mae yn amser cymmeradwy, a'r fath fendithion anmhrisiadwy yn aros yr ufydd a'r ffyddlon. Dywed fod awr barn Duw ar y ddaear, a'i Waith Mawr Ef i gael ei gwttogi yn fŷr mewn cyfiawnder. Mai dedwydd fydd pen y daith, ar ol gorphen y gwaith, a myned i mewn i orphwysfa Crist yn ddiangol rhag pläau Babilon.

Annogodd y swyddwyr a'r Saint i fod yn ddiwyd a ffyddlon i bregethu yr Efengyl, dosparthu traethodau, a thystiolaethu am genadwri fawr bresennol y nef, fel y teilyngont rhan yn etifeddiaeth wynfydedig y Saint.

Ein rhifedi presennol yw 84.

DAVID DAVIES, *Llywydd.*

---

*Cymmanfa* Sir *Aberteifi* a gynnaliwyd yn Cwrt Newydd—y Ll. Daniels yn bresennol.

Cymmerodd Ll. y Gynnadledd a'r Heuuriad John Evans, Penywern, ran egniol yn ngwaith y dydd.

Cydnabyddwyd holl awdurdodau yr Eglwys yn unfrydol.

Pregethwyd y Diwygiad yn effeithiol i'r Saint, y rhai a adfywiogwyd yn fawr, ac a wnaed yn llawen.

Mynegodd yr holl swyddwyr a'r Saint eu teimladau penderfynol i ymegnio mwy ar hyd llwybr diwygiad, tra yr addawodd rhai ag oeddynt heb ymadnewyddu i wneuthur hyny yn fuan.

Ar ol dau o'r gloch, pregethwyd allan i'r bobl ag oeddynt y dyfod o'r capeli, y rhai a wrandawsant yn astud a boneddigaidd iawn, a'r un fath yn y cyfarfod hwyrol. Cafwyd doethineb a nerth yr Ysbryd Glan i oleuo ac adfywiogi y Saint, ac i achosi cynhwrf anarferol trwy y gymmydogaeth. Aelodau, 29.

JOSEPH GRIFFITHS, *Llywydd.*

☞ Nid oes genym le yn y rhifyn hwn, nac amser at wneuthur sylwadau golygyddol. Er hyny dywed yr hanesion torcalonus yn ddigon eglur drostynt eu hunain. Ceir ychwaneg o fanylion yr erchyll lofruddiad yn mhen dau neu dri diwrnod. Saint, byddwch ddiwyd i amddiffyn y dieuog a'r gwirion llofruddiedig rhag cam-gyhuddiadau ei luaws elynion maleisus. —Gol. yr *Udgorn.*

## ENGLYNION.

*Marwolaeth David John Griffiths, baban Daniel ag Anna Griffiths, Capcoch, Aberdar, ac wyr i'r Bardd. Bu farw Ebrill* 29, 1857

Dafydd bach—tecach wyt ti—a siriol
Mewn seirian oleuni;
O adeg dy galedi—
Dyben daeth i dy boen di.

Paradwys, mwy pur ydyw—a haddef
I haeddawl o'r cyfryw;
Hynaws fab i hoenus fyw—
Adwedd y teilwng ydyw.

Gwelodd hoff wedd y Prophwyd—mawr, Joseph,
A'r Iesu a laddwyd;
A llu'r gwawl, mewn nefawl nwyd,
A'r adwyth a waredwyd.

Mae'r bychan, a'r glân dibechod—heddyw
Yn rhydd o bob nychdod;
Y mae'n byw y lle mae'n bod,
Wynebau ei gydnabod.

Mae'n iach yn mhlith ei achau—ca fwyniant
Cyfiawnion berth'nasau,
A thorf lon y burion bau,
Ar eiriau heirdd ororau.

Ei babell yn well yn wir—o'r ddaear
A ddaw pan ei purir;
Yn hon ca breswyl cyn hir—
Ag yna ei digonir.

*Mai* 31,'57, DEWI ELFED.

---

CYNNWYSIAD.



---

ABERTAWY:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN DANIEL DANIELS.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 15.] GORPHENHAF 4, 1857. [ CYF. X.


## RHYFEL A'R MORMONIAID.

SON wneir am wrthryfel galanas yr Indiaid Dwyreiniol—lladdiad cyffredinol gwŷr, gwragedd a phlant Ewropaidd gan y paganiaid penboeth, selog, hyll, croenddu hyn, a'r gospedigaeth lem â'r hon yr ymwelir a hwynt gan y llywodraeth Fryteinig, a'r lluoedd milwyr sydd ar eu ffordd tuag India Ddwyreiniol! Nid digon hyn i gyd i dynu sylw oddiwrth Mormoniaid yn Utah a'u campau.

Ffaith orfodol ydyw fod yn rhaid i olygyddion gael rhywbeth dyddorol neu gynhyrfiyd mewn llaw o hyd, neu ni ddigonant archwaeth llygredig eu darllenwyr lluosog. Dilynir golygyddion arweiniol y dydd gan eu hailunwyr mewn gwir neu anwir, nid oes gwahaniaeth pa beth—parod yw y cŵn bychain i gyfarth wrth glywed y rhai mawrion. Ni sylwn, gan hyny, gymmaint arnynt hwy, nac ar fil ac un lleisiau creaduriaid aml-rywiogaethol eraill. Gellid dychymygu wrth ystyniadd cêg, grân gwridgoch, codiad esgyll, ac ysgrech ddyeithr anhyfryd y creadur a gyfenwir y *Gwron* mai *ceiliog twrci* ydyw y gydmariaeth oreu o hono—bod swn y lleill i gyd gyda blaen yr awel wedi ei gyrhaedd yntau, ar ben ei domen dail, o'r diwedd, *via London, of course*, a'i fod yntau am dreio ei lais.

Wel, yn siwr, ynte, mai rhywbeth ar droed draw acw! Beth pe troem ein golygon oddiwrth gorgwn Cymru, i weled beth sydd yn bod. Ust! dyma hi! *hurrah! bow, wow, wow!* Yn awr y corgwn bach, estyn dy geg, cwyd dy esgyll, ac

ysgrecha dithau oddiar ben dy domen, y ceiliog twrci! Mae y celwydd yn ehedeg fel trydaniaeth—Brigham Young wedi cilio! *hip, hip, hurrah!* Llywodraethwr arall yn myned i Utah! *glory!* Byddin o filwyr yn myned i ladd y Mormoniaid! *huss too, tiger!* Apostol y Mormoniaid wedi cael ei ladd am fyned a gwraig gwr arall! *Well done, ruffians.* Y Mormoniaid wedi ymranu a chodi mewn gwrthryfel yn erbyn eu hawdurdodau eglwysig! *Strike fire!* Y menywod wedi codi yn unllaw yn erbyn amlwreigiaeth! *Well done the Scotch Petticoats!* Haiwchw! "Golchwch arni, fechgyn!" ac, i gydgordio a'r newyddion cysson hyn, "Brigham Young yn cario pethau yn mlaen gyda llaw uchel, gan yru ymaith holl swyddwyr y Brif Lywodraeth, ynghyd a'r holl "genedloedd" croesfarnol!" Ow'r corgwn hela, ymgrynhowch i'r *crusade* yn erbyn y Mormoniaid; canys y mae yr hynod rinweddol, a'r hyglod Farnwr Drummond wedi dynoethu y Seintiau! *Success to progress!* Ni rhaid i'r *ceiliog twrci* gymhell ei ddosparthwyr i anfon ceirch iddo am yspaid etto, ar ol y fath beroriaeth swyngar, debygem ni, modd bynag.

Gwir y ddiareb a ddywed, "Eheda celwydd hyd eithafion byd cyn y geill gwirionedd wisgo ei hesgidiau." "A wyddoch chwi beth, (meddai Gogleddwr) y mae yn ddifyr iawn yma, gyfeillion." Nid llai difyr i'r Utahiaid, druain, pan gaffont lonaid cerbyd o bapyrau a roddant y *newydd* iddynt am eu hystranciau tybiedig. Ai tybed y bydd y Llywydd Brigham Young yn sicr mai *efe ei hun* ydyw, ac nad ydyw wedi cilio? Y mae yn "ddifyr iawn" i'r Mormoniaid eu hunain weled y fath goegeilun hyll, daneddog, ysgyrnog y mae golygyddion yn ei osod a'i enwi yn lle Mormoniaeth! Ie, lledrithod ehedegog ymenydd dyfrllyd golygyddion o'r un cymmeriad a Macbeth ydynt yn cael eu hela yn wancus trwy yr awyr, ac erbyn y byddont yn dychymygu iddynt gael gafael, wele nid oes yno un sylwedd i gael! Mae eraill ar gerdded o hyd fel y dyn a geisiai ddal ei gysgod! Mormoniaeth yw y cyfan, wrth gwrs. Pwy a feiddiai ammeu geirwiredd newyddiadur? Nid y Mormoniaid eu hunain, ar berygl eu heddwch. Coeliwch chwi ni, gyfeillion, y mae yn "ddifyr" dros ben o hyd! Erbyn edrych nid oedd achos i'r Mormoniaid ammeu y Macbethiaid breuddwydiol golygyddol, canys y maent yn chwerthin yn eu llawes yn awr

wrth weled rhai o'r *leading actors* yn ceisio argyhoeddi y lleill o'u camsyniad.

Yn fwy difyr o hyd yr â ein hystori. Mae wedi goleuo cryn dipyn erbyn hyn. Clywsom am y dyn a ddychymygai weled lledrith elor "rhwng y ddau oleu," a'i bedair braich hir yn amlwg estynedig tu blaen a thu ol. Erbyn myned am ei draws, beth ydoedd y lledrith ond dau asyn gynffon yn nghynffon, a'u clustiau hirion yn ymddangos fel breichiau elor! Erbyn edrych, gyfeillion, wedi myned ar ymgyrch bleserawl ac ymchwiliadol oedd Brigham Young, tua'r afon Salmon, yn nghwmpeini cannoedd o'i frodyr. Ei arferiad ydyw chwilio a gwneuthur sefydliadau newyddion. Nid *wedi* gwrthryfela yn ei erbyn yr oedd y Mormoniaid, nac *wedi* ymranu yn mhlith eu hunain, ond golygydd y *New York Herald* oedd yn awgrymu cynllun i ddwyn hyny oddiamgylch—nid *wedi* chwydu o'i berfedd *dair* brân yr oedd Sioni mab Sian, ond rhywbeth *mor ddued* a brân. Mae y Peirch. a'r Gols. wedi pregethu pregeth angladdol Mormoniaeth gynnifer o weithiau o'r amser y cyhoeddodd y Prophwyd Joseph ei genadwri hyd heddyw, hyd nes mae y Saint wedi ymarferyd a byw yn yml y goedwig a chlywed swn dylluanod, a pheidio a brawychu.

Aeth Colonel Steptoe a'i lywodraeth a'i filwyr heibio heb gael cymmaint ag un frwydr fechan! Mae ceiliogod-y-rhedyn wedi methu gwasgaru na newynu y Saint fel y prophwydwyd, a'r asyn Drummond o'r diwedd wedi cael ei droedio am ei 'stwr. Cyhoeddwyd ei wir gymmeriad i'r byd gan y Saint ond ni wnelai hyny y tro—gwell gan olygyddion i bethau fod fel y darlunient. Erbyn hyn mae y mwyafrif o'r newyddiaduron wedi newid eu barn, condemnio Drummond, ac ammeu y newyddion o Utah. Gresyn, yn wir! Pa beth a geir nesaf, wyddys?

Dywed y Chicago *Weekly Tribune* Mai 28, (un o elynion penaf y Saint) fod erthygl yn yr Oquawka *Plaindealer*, a gyhoeddir yn y ddinas lle yr oedd *gwir* wraig Drummond a'i deulu yn trigo, a lle y trigai efe ei hun gynt, a brofai nad oedd gan y Barnwr ddim i ddweyd am anfoesoldeb yn Utah, nac yn unman arall Dywed y newyddiadur y *Plaindealer*:—

"A phe ysgrifenid ei hanes ddirgelaidd, dadguddiai yrfa o driniaeth mor greulon ac annynol i deulu ag a ellid gael yn

mlwydd-hanesion gwŷrgwaradwyddus. Deallai y wasg yn y lle hwn yn dda am ei dwyll, eithr, o barch i deimladau ei deulu, a arosodd yn ddystaw. Ar ol rhoddiad i fyny ei swydd, a dychwelyd o Drummond [gyda *Ada*, ei butain] i'r Talaethau, ni ddangosai un awydd am weled ei deulu, [na, rhag ei gywilydd; debygem ni.] Pan y mynegwyd drwy y wasg ei fod yn Chicago, aeth Mrs. Drummond [y *wir* Mrs. Drummond, dealler] yno i geisio cael ymddiddan ag ef, ac er iddi aros yn yr un lluesty, ac aros un noswaith tra yr ydoedd yno, efe a lwyddodd i ymguddio o'i golwg, a'r boreu nesaf a aeth yn ddirgelaidd i'r ager-gerbyd, ac a ddaeth i'r lle hwn, ac yna a aeth ymaith a dau o'i blant gydag ef. Arosodd ei wraig am wythnos yn Chicago, gan chwilio yn ofer am ei gwr twyllodrus; ac yna a ddychwelodd adref ddim ond i gael gloes arall yn ychwanegedig at ei chalon ag oedd eisioes yn doredig wrth ddeall fod ei phlant wedi cael eu dwyn ymaith, ni wyddai i ba le." Mewn rhifyn dilyniadol dywed y *Plaindealer*,—

"Y mae Drummond yn ddyn ag na ystyrid ei air o'r pwys lleiaf gan y rhai a'i adwaenant yma, [yn y ddinas lle y trigai gynt, cofier] na, pe gwnelai hyd y nod ei ail-adrodd dan lŵ, gan fod ein dinasyddion ni wedi cael rhai enghreifftiau o'i lwon celid. Ni choeliwn fod gwirionedd y son am ddrygau y Mormoniaid yn ymddibynu mewn un gradd ar dystiolaeth Drummond." Mewn erthygl arall delia y *Plaindealer* yn fwy *plain* etto:—

"Y mae wedi cael ei brofi tuhwnt i ddadl i Drummond roi i fyny ei swydd farnol i'r dyben o gael appwyntiad i fod yn Llywodraethwr Utah, fel y gallai ddychwelyd yno yn gefnogedig gan ddigon o allu i ymddial ar y Mormoniaid am y sarhad a gafodd ei "Ada," y foneddiges wyllt-weddaidd a *welodd mewn breuddwyd!* Mae y Mormoniaid yn ddigon drwg yn ol pob cydwybod, eithr gwna gwarthrudd Drummond iddynt ymddangos yn barchus mewn cydmariaeth, a chan fod y masc wedi ei rwygo oddiar ei wyneb, hyderwn na fydd i un cyhoeddiad parchus etto ei gefnogi gymmaint ag i gyhoeddi un o'i lythyron."

Bu y New York *Tribune* mor ffol ag i gyhoeddi cyhuddiad arall o eiddo Drummond yn erbyn awdurdodau Utah am ofyn gan ddyn o'r enw Davenport, yr hwn oedd ar gychwyn i'r Tal-

aethau, trethi dwy flynedd yn mlaen llaw, ac iddo orfod eu talu ar berygl colli ei feddiannau, ac mai yn mhen diwrnod ar ol iddo gychwyn, daliwyd ef, a lladratwyd ei weddeuau, a gorfod iddo ddychwelyd i "Llyn Halen."

Yn lle bod yn Llyn Halen, yr oedd Mr. Devenport yn Nebraska, o'r hwn le yr ysgrifenodd i'r *Tribune* mai anwiredd ydoedd, ond ei fod wedi cymmeryd rhanau mewn gorchwyl gyda y Llywydd Kimball; i'r casglwr trethi, mewn camsynied, ofyn trethi y cyfan ganddo, iddo yntau eu talu, ac i'r Llywydd Kimball, fel boneddwr, ei ad-dalu yntau, cyn gynted ag y cafodd wybod, ac fod ei gyrhaeddiad diogel i Nebraska gyda ei weddeuau yn ffaith ddigonol i wrthbrofi y celwydd olaf o eiddo yr adyn haerllug.

Hyderwn fod hynyna yn ddigon am Drummond, ac ni ychwanegwn ond un difyniad o'r cyhoeddiad y *Quincy Whig*:—

"Y mae yn hysbys i Drummond ddwyn gydag ef i Utah fenyw a arddangosodd fel gwraig iddo—gan adael ei gydmares, mam ei blant, yn Oquawka, Ysgrifenodd Mrs. Drummond i Utah at ei gwr, ac mewn atebiad cafodd epistol meddal oddiwrth y fenyw hon, [Ada] yr hwn a gyhoeddwyd yn y *Plaindealer*, gan ddweyd wrthi na raid iddi ysgrifenu at ei gwr *hi* drachefn.

"Nid ydym yn ddadleuwr dros gyfraith Lynch; eithr os haeddodd unrhyw fod dynol erioed bastwn cryf, a gwisg o blu a thàr, yr *ex* Farnwr hwn o Utah ydyw."

Ynghylch y Llywodraethwr newydd i Utah. Yn mhob yn ail ddydd y mae newyddiaduron dyddiol Americanaidd wedi bod yn cyhoeddi gwahanol enwau, ac ammeu dywediadau y dydd blaenorol. Erbyn cyrhaeddai y newydd yma, yr oedd yn gadarnhaol—ni waeth i'r Saint gau eu geneu:—hwn neu y llall oedd y dyn, ac yr oedd i gychwyn gyda niferoedd o filwyr yn ddioed. Cyhoeddwyd yr oll enwau, &c., canlynol ar wahanol ddyddiau, fel llywodraethwyr i Utah, a bod pob un yn myned yn ddiffael! Mawrth 15fed, Benjamin McCulloch; 18fed, "dim i gael ei wneuthur;" 26ain, Fayette McMullen, "yr hwn a wrthododd y cynnyg gyda dygasedd." Ebrill 2, Geary; 24, B. McCulloch, "gyda bwriad heddychol;" 25, "eisieu anfon deng mil o wirfoddoliaid, heblaw y cynnorthwy a ellid hebgor o'r fyddin, gan fod rhyfel yn anocheladwy, er ceisio cymmeryd

Sebastopol gadarn y Saint, ac wedi hyny y mae yn bosibl i'r hudolion Mormonaidd ysgubo o ddeg i ugain mil o wŷr o'u blaen fel us!" Mae 18ed, "Drummond, a byddin i'w gefnogi. Nid yw y rhai mwyaf gwybodus yma yn credu y 'stori am ffoad Brigham Young." Mai 19, Culloch wedi gwrthod. Yr 20fed un wedi ei ddethol, ond heb ei enwi. Newyddion da o Utah, pob peth yn dawel. Yr 21ain, 2000 o filwyr *ar eu ffordd* i Utah—y Mormoniaid i gael eu hysgubo am y gwrthwynebiad lleiaf. Yr 22ain, Mr. Wright o Indiana, ond "celwydd ydyw, ac nid oes neb arall yn myned!" Mai 22, etto Col. Cummings, ond "efe a wrthododd." Y 24ain, Major Heiss, "os gwir y siarad ar yr heol." Y 29ain, "Y Llywydd wedi cael ei apwyntio ac wedi derbyn y swydd; ceir gwybod ei enw yn mhen ychydig ddiwrnodau," a 2000 o filwyr *i gael* ei hanfon i Utah." Mehefin 2, y llywodraethwr newydd *i gael* ei ddethol cyn hir! Mehefin 20fed, F. F. Thomas, ond wedi gwrthod.

Barned ein darllenwyr wrth yr uchod pa goel a ellir roddi i newyddiaduron ein dydd. Y gwir yw fod golygyddion gelyniaethus i'r Saint yn gwneuthur celwyddau atgas, a'u cyhoeddi fel gohebiaeth o Utah oddiwrth eu gohebwyr eu hunain, meddent hwy, er cynhyrfu y cyhoedd difeddwl yn erbyn miloedd o ddynion, benywod, a phlant diniwed ag ydynt yn ymdrin â'u gorchwylion dyddiol yn ddiwyd heb ymyraeth a gorchwyl neb arall, tra y mae yr heddwch goreu yn ffynu yn Utah. Mae amrai o brif newyddiaduron Americanaidd wedi gweled eu camsynied a'i gydnabod yn deg. Dywed y New York *Harald* nad oes gan un newyddiadur Americanaidd yr un gohebwr yn Utah, a bod yr holl newyddion drwg am Utah yn cael eu gwneuthur yr ochr hyn i'r Mississippi gan ysgriblwyr ceiniog y llinell.

Yn nghylch y cyhuddiad yn erbyn yr Apostol Pratt, cyfeiriwn ein darllenwyr at y traethawd a'i gwrthbrofa.

Mae un ffaith yn amlwg i'r Saint, sef fod Teyrnas Dduw yn dyfod yn fawr eisioes yn ngolwg y byd, ac yn destun dychryn a braw i'r drygionus a'r anffyddiog, y rhai a gynhyrfi i ymdorri allan yn y fath ystormydd o enllib gan ddim ond eu cydwybodau euog eu hunain. Yn brysur y gadawn hwynt gyda choeg eilun Mormoniaeth yn adeiladu castelli yn yr awyr, ac yn hela lledrithod hyll.

## CYNGHOR I HENURIAID.

(O'r *Millennial Star.*)

YMAE, ar yr amser presennol, gryn gynhwrf yn meddwl y cyhoedd, ynghylch yr hyn y gwel y byd yn dda i'w alw yn "Formoniaeth." Bwriad yr olygyddiaeth yma ydyw i roddi i'r Henuriaid ychydig gynghor, am y ffordd oreu i gymmeryd er tawelu cynhwrf gymmaint ag sydd yn bosibl. Gwyddom mai angenrhaid yw dyfod rhwystrau, ond, fel y dywed yr Iesu, "Gwae y rhai y delont trwyddynt."

Yr ydych yn alwedig gan Dduw trwy ei Brophwydi, ac yn anfonedig i'r byd i fynegu wrth y bobl ar ba ammodau y gellir dileu eu pechodau, a'u gosod hwy eu hunain mewn meddiant o'r Ysbryd Glân, yr hwn a'u harweiniant yn ffyrdd gwirionedd, yn ol addewidion Mab Duw. Ni ddanfonwyd chwi i ddadleu nac ymgyndynu â hwynt, ond i bregethu efengyl yr hedd a'r iachawdwriaeth i bawb a wrandawant ar, credu yn, ac ufyddhau i addysgiadau yr Ysbryd Glân yn roddedig trwyoch chwi. Am hyny dywedwn, Ewch allan yn ysbryd Crist, yr hwn sydd yn hynodweddol gan addfwynder, pwyll, hir ymaros, a thiriondeb. Anrhydeddwch eich galwadau uchel a santaidd gan ymddygiad mawrfrydig yn eich ymgymdeithasiadau, mewn bywyd cyhoeddus a dirgelaidd. Ymogelwch rhag pob digrifwch anamserol, peth ag sydd islaw sefyllfa un a fydd yn dal y swydd o Henuriad yn Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf. Tybia amrai Henuriaid nad ydynt wedi pregethu pregeth dda oddieithr eu bod wedi dweyd rhywbeth sydd dueddol i achosi chwerthin, yr hyn a ddifyra neu a ddiflasa yn hytrach nag adeiladu eu gwrandawyr. Eraill etto a arddangosant duedd i ymffrostio, wrth herio, a beiddio pob gwrthwynebiad, ac a ddangosant fel pe ei carent yn hytrach na dim arall. Soniant am bylor a phlwm fel pethau chwareuol. Gosodwch o'r neilldu y fath gellwair a gwaelder meddwl, a phregethwch Efengyl Crist. Ymresymwch a'r bobl allan o'r Ysgrythyrau, Llyfr Mormon, a Llyfr yr Athrawiaeth a Chyfammodau. Dangoswch iddynt fod y fath waith a'r cyfryw a ymwnawn ag ef i gael ei gyflawni cyn ail ddyfodiad yr Iachawdwr, a chwi a gyfarfyddwch a llai o wrthwynebiad, Mae llawer a wrthwynebant eich ymdrechiadau i'w llesoli, yn credu eu bod yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw, fel y gwnaeth Saul o Tarsus. Dylech,

gan hyny, yn hytrach resynu a chydymdeimlo na choleddu ysbryd llidiog tuag atynt, canys ni wyddont pa beth y maent yn ei wneuthur.

Fel gweinidogion yr Eglwys nid oes achos i chwi droseddu ar un o gyfreithiau y tir, ond bod yn ddarostyngedig i'r galluoedd a sy. Pan eich cam-drinir ac eich herlidir gan y dryg-ionus, ceisiwch iawn trwy yr iawn gyfrwng; anrhydeddwch y llywodraeth, a swyddogion ei happwyntiad, ac appelio i fynu am iawn idd eich cam wrth gospi yr euog. Mae cyfreithiau Lloegr yn dda, ac yn sicrhau i bawb yr iawnder o wasanaethu Duw yn ol cymhelliadau eu cydwybodau eu hunain. Dywedwn, gan hyny, yn lle ymddadleu â'r isel werin, hònwch oddiar ddwylaw y llywodraeth yr amddiffyniad hwnw ag y mae ei Mawrhydi rhadlawn yn gweled yn dda i ganiatau i'w holl ddeiliaid cyfraith-geidwol. Pan y peidia awdurdodau cyfreithlawn y tir i lethu terfysgoedd, rhoddi i chwi gyfleustra i gyflwyno cenadwri y Nef i'r bobl, fel y caffo pawb gyfleustra i farnu drostynt eu hunain, a chredu neu wrthod ar eu goruchwyliaeth eu hunain; yna yr atebolrwydd a orphwys arnynt hwy, a bydd eich dillad chwi yn lân rhag gwaed pawb oll. Fe ei ofynir ar ddwylaw y cyfryw ag oedd yn ddyledswydd arnynt idd eich hamddiffyn, tra yn y cyflawniad o'r dyledswyddau a osodwyd arnoch gan Dduw Israel.

Gwnewch yn iawn, a phan eich herlidir bydded er mwyn cyfiawnder, fel yr hònoch addewidion yr Iesu, canys efe a ddywed, "Gwyn eu byd y rhai a erlidir er mwyn cyfiawnder; canys yr eiddynt yw teyrnas nefoedd. Gwyn eich byd pan eich difenwir ac eich herlidir gan ddynion, ac y dywedant bob drygair yn eich herbyn, er fy mwyn I, a hwy yn gelwyddog. Gorfoleddwch a mawr lawenhewch; canys felly yr erlidiasant y Prophwydi ag oeddynt o'ch blaen chwi. * * * * Tywyned eich goleuni gebron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da, a gogoneddu eich Tad yr Hwn sydd yn y nefoedd."

---

☞ Er mai yn ein rhifyn nesaf yr ymddengys y dyledion am lyfrau, etto roddwn wybodaeth yn fuan gyda y post i'r gwahanol ddospaathwyr.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

DYDD SADWRN, GORPHENHAF 4, 1857.

ANNOGAETH—Cynnyddiant Teyrnas Dduw, dylanwad Seion, a gelyniaeth a gwrthwynebiad gelynion, a ofynant gynnyddiant ynom ninnau, fel, pan gymmero gwrthdarawiad le, y byddom ar dir diogel.

Mae galwad Duw wedi hir gymhell y Saint i beidio colli un cyfle i bregethu yr Efengyl yn ffyddlon i'r Cenedloedd, ymburo o ddydd i ddydd, ac ymdrechu i ymryddhau o gadwynau Babilon.

Lluaws o Saint Cymreig sydd wedi llwyddo i gyrhaedd tir Joseph, neu yr America, er nad aethant oll tua Seion; etto gallant weithio eu ffordd i ben eu taith yn hawddach na y rhai sydd ar ol yma yn tuchan dan iau gormes, ac yn hiraethu am waredigaeth, gan wan obeithio o herwydd eu tlodi neu amldra eu gwahanol deuluoedd.

Yn ngwyneb yr holl wan obeithion nyni a wyddom am deuluoedd ag oeddynt gyda y tlotaf a'r amlaf eu rhifedi; etto i gyd yn mlaen gyda'r blaenaf mewn ffyddlondeb—yn pregethu yr Efengyl, traethodu, bucheddu yn bur, a chyfranu yn haelionus tuag at y gwaith. Yn ystod blynyddau celid ac anaddawol ymegniasant yn amyneddgar, gan daer ocheneidio ar yr Arglwydd ac ymddyried ynddo Ef am gynnorthwy yn ei amser da. Sylwer! mae ganddynt bunnoedd heibio yn y Swyddfa yn awr, ac ychwaneg yn ymdreiglo i mewn o hyd.

Pa fodd y daeth y fendith? A ddarfu i'r Arglwydd ddadguddio ryw drysorau, neu anfon arian yn migau cigfrain? Naddo; ond Efe a'u bendithiodd hwynt yn eu llafur tymhorol a'u diwydrwydd beunyddiol. Cyffelyb yw bendithion Duw i râff a deflir i'r dwfr at un a fyddo ar foddi—y mae o hyd iddo eithr rhaid iddo ymaflyd ynddi.

Ni chenfydd yr annoeth fendithion Duw pan y maent o fewn ei gyrhaedd. Ni waeth pa faint a gaffo—bydd byw i fyny i'r geiniog eithaf, â ei gynhauaf heibio, a'r gauaf a'i ddeil yn anmharod.

Llawer o ddysgwyl sydd wedi bod am gynnorthwy o Seion i fudo Saint tlodion o Babi.on, ac y mae rai wedi ei gaffael; ond nid doeth, yn bresennol, ydyw amddibynu ar y fath obaith.

O ran arian, ni fydd Seion yn gyfoethog iawn am yspaid etto, hyd oni wneir darpariadau pwysig, erbyn y del ei Brenin yn ddisymmwth i'w deml, ac y dygir golud y Cenedloedd i mewn. A nwyddau yr ymwnant fwyaf yno yn awr. Yn lle cymmeryd ffordd y Cenedloedd i ymgyfoethogi –pob un drosto ef ei hun yn anystyriol o bawb a phob peth arall, ymuna y Saint i fyned allan i bregethu yr Efengyl a rhybyddio y Cenedloedd—cyfodi a sefydlu cenedl gadarn o luoedd yr Arglwydd—adeiladu dinasoedd a themlau—torri ffyrdd trwy y coedwigoedd a'r anial diroedd—ymarferyd ag egwyddorion bywyd, a chodi ein plant yn ffyrdd purdeb, fel y cyflawnont orchestion mawr bwriadol Duw yn yr oes hon.

Mae y ffyrdd i Seion yn ymagor. Gwelsom ymdrech bobl Seion yn anfon yn haelionus yr hyn ag oedd ganddynt i gyfarfod a'r ymfudwyr ar y Plains; ni fuasai llonaid cerbydau o aur ac arian yn gwneuthur y tro yno!

Etto gwelwn y sefydliadau yn dechreu ar hyd y gwastadedd, a bwriedir cael un bob 50 milldir, a'r Saint ymfudol i'w llanw wrth ddyfod yn mlaen, ac yn mhen ymfudiad arall i fyned rhag eu blaen, a rhoddi eu lle i eraill a ddelont. Felly y geill tlodion ein Duw gerdded o orsaf i orsaf yn bwyllog, a chymmeryd yr haf o'u blaen i'w wneuthur, gan adael y luggage a feddont i'r *Express and Carrying Company* gludo iddynt. Gallant gysgu, heb berygl anwyd, noswaith neu ddwy os mynant rhwng pob gorsaf, a felly cael llai o drafferth yn y diwedd na gwyr y gweddeuau ychain! tra y bydd darpariadau er cludo gweiniaid a chleifion.

Gweler mai yr unig rwystr i'r Llyn Halen sydd draw ydyw y llyn halen sydd yn ein hyml, ac mai y peth mwyaf ydyw cael myned oddiyma yn groes i dir Josph rywle. Edryched y doeth ynte pa fodd yr egyr Duw y ffordd; canys mae Efe yn sicr o'i wneuthur. Efe a agorodd galon Pharaoh gynt, ac a

gododd Joseph o'r carchar i yml yr orsedd, a Daniel gaethwas yn bennaeth amherodraeth.

Yr un Duw sydd genym ni; am hyny, anwyl Saint, gwregyswch eich lwynau, a chrynhowch ffydd. Byddwch chwithau ddiwyd, ffyddlon, gonest, a sobr, ac, fel amryw o frodyr eraill, fe'ch dewisir gan eich meistri i lefydd cyfrifol o flaen rhai llai gofalus; ac fe dreigla fendithion daearol i'ch dwylaw. Yna, os byddwch gynnil, doeth, a threfnus, cewch o leiaf, fodd i gyrhaed gwlad Joseph, neu yr America, a buan y gwelwch Seion. Gweithredwch ffydd a byddwch ofalus a diwyd gyda eich crefydd a'ch gorchwylion, er mai crefydd yw y cyfan, ac edrychwch am iachawdwriaeth yr Arglwydd. Ffydd ac egni bywiog ac amyneddgar sydd yn tynu bendithion. Frodyr a Chwiorydd; ymdrefnwch i fyw mor gynnil, fel y galloch hebgor peth i'r Drysorfa Geiniogol Ymfudol. Cofiwch y gwnelai dau swllt yr wythnos am flwyddyn fwy na mudo un mewn oed i'r Talaethau Unol.

Yn lle gwastraffu eich harian ar ryw deganach diddefnydd ac anmharhaol, ymwisgwch mewn dillad gwasanaethgar, syml, a glân, ac ymwrthodwch a bras-foethau diangenrhaid i fwyta, yna, os na fyddwch wedi crynhoi digon eich hunain, lleiaf i gyd fydd y cynnorthwy a anghenwch, a hawddaf fyth fydd ei gael.

Na fydded anghyssondeb yn eich teuluoedd. Mor gysson a'r prydiau bwyd a fwytaoch y byddo dyledswydd teuluaidd yn eich tai. Na wastraffwch eich holl amser amddeuol mewn cellwair, ond myfyriwch yn egwyddorion y deyrnas fel y cynnyddoch gyda hi, gan gofio y gair—"Sel heb wybodaeth nid yw dda."

Mae yn amlwg i bawb a feddant oleuni yr Ysbryd fod gau grefydd, traddodiad, drygioni a gelyniaeth, fel yr aboma nerthol, yn ymdorchi am ddynolryw, ac y llethir hwynt yn fuan. Mae yr efrau yn cael eu cylymu mewn ysgubau mor gryno, yn gynnulleidfaoedd cyfain, yn dynach tynach, fel mai anmhosibl braidd fydd tynu allan wenithin a fyddo yn ngymmysg a hwy.

Henuriaid ac Offeiriaid Israel! na fyddwch mor fanwl i bregethu ysgrythyr a "llaeth" y gair heb roddi eich tystiolaeth. Rhoddwch hi hefyd mewn gallu a selfrwd-frydig. Os na theimlwch ddigon o allu yr Ysbryd genych, ymneillduwch, ymprydiwch, a gweddiwch yn ddibaid hyd oni ddelo arnoch, ac yna

pregethwch yn nerthol, a dywedwch yn eglur wrth y bobl am y barnau sydd yn dyfod ar ol i chwi ddynoethu ffieidd-dra Babilon a thwyll crefyddau dynol, a'r unig ffordd am waredigaeth, ac os na argyhoeddwch hwynt, gwnewch iddynt *deimlo nerth* eich tystiolaeth.

Cyd-dystia Prophwydi ac Apostolion Duw fod y garreg fach ar fyned i dreiglo a malurio bysedd yr hen ddelw, ond mai ein harosiad ni yma yw yr achos o oddefiad y Saint yn Seion i bethau gael bod fel y maent. Bod yr ystorom yn crynhoi a'r awyrgylch yn amlwg dduo, a Duw yn dysgwyl wrth ei Saint yn Mabilon i ffoi yn brydlon cyn byddo'r ffordd yn nghau gan elynion gwaedlyd. Etto, ymgysured y tlodion ffyddlawn oherwydd y cânt weled iachawdwriaeth yr Arglwydd os ymdrechant eu goreu drostynt eu hunain yn nghyntaf.

---

*Gweithio* sydd yn bod yn mhobman lle yr ysgrifenir attom—pregethu, traethodu, a thystiolaethu ffyddlon, a thalu degwm yn onest. Ai tybied na thyn hyn sylw y nef uchel arnom, ac y cawn fuan weled llaw driniaeth yr Arglwydd yn mhellach? Ac ai tebyg na ffafria yr Arglwydd y Llywyddion hyny sydd wedi ymgynnilo, aberthu, a bod allan yn helpu eu cynnadleddau gweiniaid a bychain i bregethu yr Efengyl a chlirio eu dyledion?

Lle mae y traethodau cyntaf o'r gyfres wedi cael eu gwerthu, &c., mae yn iawn i werthu a fynir o'r rhai dilynol, wrth gwrs, meddwn wrth bawb a ofynasant gynghor ar y pen hwn, a da fyddai gwerthu yr oll o ellir o hanes Merthyrdod Parley, gan fod yr elw i'w deulu diwyd ac amddifaid.

---

Trwy lythyr o'r Dyffryn oddiwrth y brawd Isaac Ree diweddar Blaenau Gwent, deallwn ei fod ef ac amrai Gymry yn byw yn ninas Ogden a'r cylchoedd—Thomas Giles, James, G. W. Davies, M. Dudly, Mesech Williams, W. Williams, J. Thomas, W. Lewis, John Price, &c. Bod y brawd Giles yn fawr yn ngolwg yr awdurdodau, ac wedi cael ei ordeinio yn Archoffeiriad, a'i osod i deithio trwy yr testynfa. Bu farw y chwaer Margaret Giles ar y Gwastadedd ar enedigaeth plentyn, meddai ef.

---

Dywed y *Mormon* olaf a welsom fod y llofrudd McLean wedi chwilio St. Louis a'r cylchoedd am yr hon a fu un

waith yn wraig iddo, a'i theulu sectarol hithau yn ei gynnorthwyo i geisio ei dal a'i gosod yn y gwallgof-dy ar yr esgus ei bod yn wallgof; eithr diangodd i'r Gwastadedd. Ofnent hi, oherwydd gwyddai fwy nag un peth.

Gofynai y newyddiadur y New Orleans *Bulletin* i'r Saint droi o'r ffordd a rhoddi lle llydan i McLean. Dywed y *Mormon* os â efe i'r Gwastadedd y caiff yr un a fyno, "le llydan" neu le cul.

---

## ADDYSGIADAU.

MAE Teyrnas Dduw i'w hadeiladu, ac ymddengys i rai fod hyny i ddyfod oddiamgylch drwy dair egwyddor fawreddog ag sydd yn ein plith; yn gyntaf, cynnydd ei deiliaid mewn rhif a rhinwedd. Yn ail, casgliad y rhai hyny o blith pob cenedl, llwyth, ac iaith, i Seion.

Yn gyntaf, cynnydd y deiliaid—i luosogu rhifedi y deiliaid rhaid i ni drosglwyddo i eraill y wybodaeth neu y ddealltwriaeth well a feddwn ni. Ni eill un person gael gwybodaeth am deyrnas Dduw ond trwy un o dair ffordd—gweled, clywed, neu deimlo. O ganlyniad, frodyr, os gadawn y byd yn llonydd hyd nes na welont, clywont, na theimlont ynghylch y deyrnas, penderfynwn ar derfyn i gynnydd o'n rhifedi. Profwn hefyd nad ydym yn meddu y rinwedd na'r diwydrwydd gofynol a dyladwy; canys hyn ydynt y gorchymynion hen a diweddar—" Byddwch daer mewn amser ac allan o amser."—" Bloeddiwch ac nac ymattaliwch," &c. Dylem, hefyd, wneuthur i eraill fel y dymunem i eraill wneuthur i ni. Ymholed pob un ac ystyried pa fodd y carasai efe i rywun ymddwyn atto ef pe buasai efe tu allan i Deyrnas Dduw—heb ei hadnabod—yn rhwymedig gan lyffetheiriau traddodiadol y byd, ac heb feddu y wreichionen leiaf o oleuni yr Ysbryd Glân, ei gydwybod a etyb, " Dylait ddiosg oddi am danat ddull gwageddus y byd, a myned o dy i dy gyda'r argraffedig air, fel y gallo dy gyfoedion *weled*, a bloeddio, fel y gallont *glywed*, gan feddu Ysbryd Dvw er gwneuthur iddynt *deimlo*, a bod yn ufydd ac yn barod i wneuthur ewyllys Duw, bob amser, fel yr Iesu pan y gwaeddodd o aneddle ei santeiddrwydd, Wele fi, anfon fi."

Yn y modd hyn byddai deiliaid y deyrnas ar gynnydd mewn rhif a rinwedd.

Yn ail, *y casgliad.* Hysbys i bawb fod yn rhaid cael arian i gludo dynion dros foroedd a chyfandiroedd, ac i ryddhau yr Eglwys yma o ddyled, &c. Cyfarwyddodd ein Tad holl ddoeth mai y ffordd fwyaf effeithiol i hyn ydyw i bob un gyssegru i'w enw Ef y ddegfed ran o'u heiddo, a'u cynnyrch beunyddiol, ac o weithredu yn ffyddlon yn ol ei gyfarwyddid. Addawa mewn ad-daliad i'n benithio a bendithion ag na bydd lle i'w derbyn. Mae genym ddigon o le i'r hyn sydd genym yn awr; gan hyny, rhaid y byddwn gyfoethocach wrth dalu ein degwm yn ffyddlawn. Am hyny, frodyr, ymroddwn i wneuthur ewyllys ein Tad, rhag iddo Ef ein cadw yn Mabilon, fel y cadwodd blant Israel gynt yn yr anialwch i grwydro deugain mlynedd, a marw yn y diwedd, am eu hanufydd dod a'u hanghrediniaeth.

Ymprydio sydd ddyledswydd a gymhellir arnom o herwydd dau reswm.

Yn gyntaf, oherwydd fod ympryd, fel gweddi, yn effeithiol er dwyn gallu dros ysbrydion y tywyllwch, fel y gellir profi oddiwrth hanes y dysgyblion gynt yn methu bwrw allan y cythraul hwnw, o herwydd. fel y dywed yr Iesu, nas gellid bwrw allan y math hwnw heb ympryd a gweddi.

Pe llwyddai dyn a daflai gareg gyda bwriad i ladd nn aderyn i ladd dau, ystyriai ei hun yn ffodus. Yr un modd, frodyr, y dug yr ympryd i ni nerth na chaffem hebddo, ac fe arbed ein harian hefyd, fel y gallom eu gosod yn y Drysorfa Geiniogol, a gwneuthur llawer, yn mhen amser tuag at ein hymfudiad.

Yn drydydd, *y darpariad yn Seion.*—Pan ddel Mab y Dyn Efe a ddaw i'w deml; felly, rhaid y bydd Teml wedi ei hadeiladu a'i chyssegru i'w enw. Gwyr pawb fod rhaid cael cerrig morter, coed, haiarn, pres, copr, arian, aur, a llawer o bethau gwerthfawr eraill i adeiladu teml, ac na ddaw pethau felly o honynt eu hunain—rhaid cael celfyddydwyr a gweithwyr i'w darparu a'u gosod, a rhaid i'r rhai hyny gael ymborth a dillad: amlwg yw y rhaid i rhywrai lafurio i'w porthi a'u dilladu,

Etto, byddai yn chwithig i weled dim ond teml yno i roesawi Brenin y Breninoedd; canys daw Efe i'w ogoneddu yn ei Saint, ac, wrth gwrs, fe ddysgwylir i'r Saint fod yno o gylch eu Brenin. Byddant filoedd lawer mewn rhifedi, ac, i fod yn debyg i'r Brenin, rhaid iddynt hwythau gael tai ysblenydd i fyw yn-

ddynt. Ffurfia y tai ddinasoedd mawreddog a gwych, y rhai a fyddant erbyn hyny wedi cael eu hadeiladu, y llywodraeth wedi cryfhau, a'r Saint wedi eu perffeithio, i raddau pell, trwy egwyddorion yr Efengyl: i hyn oll, rhaid cael llafur ag arian lawer.

Ymgalonogwn—mae y gwaith mawreddog yn myned yn ei flaen mor gyflym ag y gallwn ei ddilyn. Nid ychydig o siared dros y pwlpud ac yn y *Society* gan au grefyddwyr ydyw, ond y mae wedi honi ei le yn meddyliau penau coronog y ddaear, ac ymwthio yn brif destun dadleuaeth yn mhrif senedd-dai y byd. Mae y Duw Hollalluog o'n plaid, a phwy a *all* fod i'n herbyn?

*Henuriad yn Israel.*

---

## MERTHYRDOD PARLEY P. PRATT.

(Ar y dôn *Minnie Gray.*")

Mae gwaed gweision Duw, 'nawr yn arwydd i'r byw
  Fod dystrywiad hen Babel gerllaw;
Merthyron ein hoes, ddirdynwyd trwy loes—
  I'r byd byddant angau mewn braw.
O! Parley, hoff Parley! merthyr dros Dduw,
  Dy waed nos a dydd sydd yn galw o'r pridd,
"Dialedd" yn mhlith dynolryw.

Mewn berw mae'r byd, cyflafan i gyd,
  Yn fuan ganfyddir o'r bron;
America sydd, am dymhor y bydd
  Yn safle i lid Babilon—
Hoff Parley! hoff Parley, merthyrwyd ef;
  Ond etto mae'n byw, o dan wenau ei Dduw,
Ynghanol brodorion y Nef.

Mae trwyom fawr aeth, yn treiddio fel saeth,
  Wrth feddwl fod Parley mewn bedd!
Gwir ferthyr 'nawr yw,—fy enaid ga'dd friw,—
  Agorwyd ei ystlys â'r cledd;
Frawd Parley! frawd Parley, gwelaist ein Pen,
  Pan gefaist dy ladd, dy ysbryd a ga'dd
Nerth dwyfol i rhwygo y llèn.

Och! yn yr oes hon, gwae ti Babilon,
Medd ysbryd datguddiawl ein Duw;
Can's agos yn llawn dy gwpan a gawn,
Braidd, braidd yn yr yml 'nawr yw;
O! Babel, O! Babel, digiaist ein Tad,
Am hyny cyn hir, gwir ddystryw, yn wir,
A welir yn difa pob gwlad.

Cyn hir llawenhawn, ein Parley a gawn,
Yn fuan daw etto o'i fedd;
Ni ellir byth mwy rhoi iddo'r un clwy',
Gan law-ddryll na thrwy fin y cledd;
Ein Parley! ein Parley! merthyr dros Grist:—
Yn fuan y daw i Seion, heb fraw,
I'n lloni. heb un teimlad trist.

Ein Brigham sydd fyw, gogoniant i Dduw,
"Llew" ydyw o lwyth "Ephraim" draw;
Pan rua efe, mae pawb îs y Ne'
Mewn meddiant o arswyd a braw;—
O Brigham! hoff Brigham, gweledydd ein Duw,
Hir oes f'o i'th ran, daw'r byd yn y man
A'r "deyrnas" i'n meddiant, gwir yw.

*Fflint.* DAVID JOHN.

☞ Yr ydym wedi cael peth trafferth i gael y cyfrifon hanner blynyddol yn y ffurf iawn, ond rhaid ystyried mai yr ymgais cyntaf o eiddo ein brodyr llafurus ydyw. Wrth y rai ag y perthyna dywedwn fod arnom eisieu enwau y cangenau a'u symiau o ddegwm am y chwe' mis, yn lle cyfanswm y Gynnadledd. Cofier, o hyn allan, gadw cyfrif o'r manylion, megis enwau pethau, personau, dyddiad, &c. o'r treuliadau. Lle y roddwyd cyfrif o symiau wedi eu talu o'r degwm am lyfrau, dysgwyliwn oddiwrth bob un, yn ddiwahan, brawf fod ei Gynnadledd wedi cael credit o hyny: lle cafodd y swm ei ranu ar gyfer amryw gangenau, gofynwn eu henwau, a'r swm a greditwyd i bob un. Nid yw yr holl lyfr-ddosparthwyr wedi anfon eu 'Balance Sheets' hanner-blynyddol i mewn. Dealler mai naill ai cydnabyddiaeth y dosparthwr ynddi o'r swm ddegwm a gafodd ar gyfer ei Gynnadledd, neu enwau Cangenau fel y nodwyd yna y prawf rhagddywedig a ofynir. Bydded gan bob Llywydd Cangen gyfrif degwm &c. ei Gangen wrth law erbyn y geilw———heibio er cydmaru pethau.

CYNNWYSIAD.



ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS, ABERTAWY.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 16.] AWST 1, 1857. [ CYF. X.

## ADDYSGIADAU,

*Gan y Llywydd* HEBER C. KIMBAL, *Bowery, Ebrill* 6. 1857.

CLYWSOCH yr hyn a ddywed y brawd Wells mewn perthynas i'r Deml, y camlas, &c. Bwriedir y Deml at lawer o amcanion, ac mae llawer o bethau a ddadguddia Duw a llawer o fendithion a gyflwyna Efe i'r bobl hyn yn yr adeilad hwnw, os defnyddiant yr iawn ddiwydrwydd i hwyluso ei orpheniad.

Geill rhai feddwl bod adeiladiad y Deml yn fwyaf neillduol yn ymorphwys ar y br. Brigham, y br. Heber, y br. Daniel, y Deuddeg, ac ychydig o'r Degau-a-thriugeiniau, Archoffeiriaid, ac Esgobion; a phan ei gorphenir, gallant ddychymygu y derbyniant hwy eu bendithion ynddi; eithr bwriadwyd i'r gwaith hwnw fod yn gyffredinol, nid yn unig gan aelodau arweiniol swyddogol yr Eglwys hon, eithr gan bob aelod, yn wrryw a benyw; canys nid yw y Deml i ni yn unig—y mae hefyd i'n meibion a'n merched, a chenedlaethau dyfodol. Hwy a dderbyniant fendithion ynddi, ac am hyny perthyna iddynt hwy yn ogystal a ninnau.

Os caf fi holl fendithion yr Offeiriadaeth, yr holl gynnysgaethiadau, yr holl fendithion sydd gan Dduw i gyflwyno arnom yn y prawf-gyflwr hwn, a chadw y pethau hyny yn gyssegredig tra y byddwyf fi byw, yr ydwyf y pryd hwnw mor bur a santaidd ag y mae yn bosibl i ddyn fod tra yn y cnawd. Yna, os bydd fy ngwragedd yn un a mi, bydd i'n plant a'n hiliogaeth gyfranogi o'r bendithion hyny a osodwyd arnaf

 Pris 1½g.

Tuedda pob bendith a gyflwynir arnaf i lesoli fy hiliogaeth. Mae y bendithion hyny i bob dyn cyfiawn, a'r bendithion a gyflwynir ar ddynion a benywod ffyddlon yn eu henneiniadau a'u seliadau a orphwysant ar eu hiliogaeth ar eu hol yn oes oesoedd, trwy eu ffyddlondeb, ac nid oes diwedd yn bod.

Y mae yn annogaeth rymus ac ychwanegol i chwi fyw eich crefydd, yn ngolwg o'r lleshad a barheir idd eich hiliogaeth. Os gallwch ddim ond dal hyn mewn cof, credwyf y gwasanaetha i'ch cadw yn ddisygl yn lwybr eich dyledswydd. A gyfranoga ein hiliogaeth o'r bendithion a dderbyniwn yn y Deml a adeiladwn? Gwnant, yn oes oesoedd. Mae ein bendithion i barhau o hyd, os byddwn byw fel ag i ymgyrhaedd hyd egwyddorion a chyfiawnder perffeithrwydd, ac i sicrhau yr addewidion o fywydau tragywyddol, yna y bendithion hyny a orphwysant arnom ni ac ar ein plant.

Pa hyd y cymmer y bobl hyn i adeiladu y Deml ar yr adran hon, gan dybied y bydd i bob dyn a benyw, a phob plentyn ag sydd wedi cyrhaedd blynyddau cyfrifoldeb, gydymdrechu dros ei chwblhad? Nid llawer o flynyddau. Pe byddwn i yn llafurio ar y Deml hyna, ymdrechwn yn barhaus i weithio arni gyda llygad sengl ar ei gwthio yn mlaen, ac ar y bendithion a ddysgwyliwn fwynhau ynddi. Eithr tybiwn na fyddwch oll fyw, a lesolir chwi ganddi? Gwneir.

Ymwnawn yn awr a materion a atebant bob amcan, hyd oni orphenir y Deml hono. Wrth y rai hyny a ant trwy eu cynnysgaethiadau yn awr, ac a selir i fyny i fywydau tragywyddol fel hyn y bendithion hyn, os glynynt wrth y bendithion a'r addewidion a wneir drosodd iddynt, a chamru yn mlaen gydag un galon ac un meddwl i wneuthur ewyllys Duw megis ei hysbyswyd iddynt o bryd i bryd o'r esgynlawr hwn.

A ydyw yn ofynol fod pob aelod o'm teulu i yn teimlo yr un dyddordeb a minnau yn fy mwynhad a'm llwyddiant? Ydyw, i bob gwraig a phlentyn, o'r henaf hyd yr ieuangaf. Dylent fod yn union megys pren sydd ag amryw gangenau iddo. Mae eithafion y gangen hiraf yn anniddibynol ar y pren o'r hwn y tyf. Dylem ddyfod yn un pren, a bod yn gyffelyb i bren y bywyd, yr hwn a ddug ddeuddeg math o ffrwyth," oll yn gysylltiedig ag un bôn. Credwyf i'r ffrwythau hyn ddyfod oddiwrth impiau, neu y mae yn debyg na ddygasai y pren gynnifer

math. Rhaid i ni gael ein himpio i mewn i'r wir winwydden, a pharhau i gyfranogi o'i brasder, ac yna cawn fyned yn ol at ein Tad a'n Duw yr Hwn sydd yn gyssylltiedig wrth un sydd yn mhellach 'nol fyth, ac mae y Tad hwnw yn gyssylltiedig wrth un sydd yn mhellach drachefn, a felly yn y blaen; ac i'r un graddau yn union ag y parchwn ein huwchafiaid, a cheisio achub ein plant, felly y cawn dderbyn bendithion o'r amser hwn allan, a thros fyth, ac a ddeuwn mor aml a'r tywod ar làn y môr. Pa beth sydd i'n lluddias i gael y bendithion hyn? Dim, oddieithr mai ein diffyg ffyddlondeb ein hunain ydyw; canys trwy ddiwydrywdd, diysgogrwydd, a dyfal-barhau y gallwn gyflawni yr oll a ddymunwn, a chynnorthwyo i symud yn mlaen waith mawr Duw.

Clywais sibrwd fod rhai ag ydynt yn gweithio ar y deml wrth drin cerrig, ac yn yr efail a'r peiriandy heb ddim ond bara i fwyta. Ymddengys fel pe na allai hyn fod felly; canys gwelais y dwylaw cyhoeddus yn myned adref a moron cochion a gwynion, cloron, &c., ac nid ydyw mor ddrwg pan fyddo digon ohonynt hwy; ac mae pob dyn yn cael pwys y dydd o flawd, ac mi feddyliwn i na ddylai fod achwyn. Ni fydd mis cyn y ceir gwylath, rhuddygl, &c, ac y mae yn awr ddigon o fresych; a mae winwyns mewn cyflawnder yn Swyddfa y Degwm, a bydd yn dda iawn genym i chwi ddyfod a'u cael wrth eich hamdden.

Cyffyrddais â'r pethau hyn mewn cyssylltiad a sylwadau y br. Wells, ynghylch y Gweithiau Cyhoeddus; canys yr ydwyf fi yn un gydag ef, ac yntau yn un gyda minnau, ac yr ydym ni yn un gyda y br. Brigham. Ni ogwyddasom ein traed at yr yrfa i unrhyw ddyben amgen nag i'w ddilyn ef a redeg trwyodd; canys efe yw ein harweinydd. ac a fydd felly, yn dymhorol ac ysbrydol, o'r amser hwn allan. Pan ddelo Joseph drachefn, a symudir y br. Brigham? Na wneir, byth. Mae Joseph ar y blaen, mae y br. Brigham ar ei ol ef, a ninnau ar ol y br. Brigham, a chwithau ar fy ol i, onid ydych? ac ni ysgogwn, a Duw a fendithia ac a lwydda pob dyn a gynnorthwya ei hun, ac Efe a fendithia, a lwydda, ac a gynnalia y bobl hyn, ac ni syrthiant byth megis pobl, er ein bod yn disgwyl y gwrthgilia llawer—yr ymruthrant dros y gronfa ac ymddryllio.

Os pechwn ac na edifarhawn, fe gerydda Duw ni hyd oni

edifarhaom am, ac yr ymwrthodom a phob pechod; eithr ni cherydda Efe nyni cyhyd ag a gwnelom yn iawn. Yr ydwyf wedi dweyd ganwaith na anghenwn byth am fara, cig, a chysuron bywyd, bydoedd diddiwedd, os gwnawn ni yn iawn. Dyna fy mhrophwydoliaeth i, ac a ydoedd bob amser, ac y mae yn wirionedd. Cydunwyf a Daniel, Joseph, Brigham, yr Iesu a'r Apostolion, a'r holl brophwydi santaidd, ac yr ydwyf wedi llefaru fel y gwnaethym er cynhyrfu eich teimladau, idd eich deffro i fyny a chysuro eich calonau a lloni eich meddyliau, canys nid oes genyf deimlad arall nag i'ch llesoli.

Pan orphenir Camlas y Big Cottonwood, heblaw ei fawr leshad yn ein gweithrediadau i adeiladu y Deml, bydd o fawr werth er dwfrhau randiroedd yn y ddinas hon, yn enwedig yn ei rhan ddwyreiniol, a chwi a fyddwch yn alluog yn fuan i godi digon, mwy na chyn hyn, idd eich talu am eich llafur, ie dengwaith cymmaint. Gellwch ystyried hyny yn ddwlni, ond dywedwyf nad ydyw. Bwriwch y cyfrif, ac edrychwch pa faint ychwaneg a allech godi pe caffech ddigon o ddwfr. Gallech godi gymmaint o wellt ŷd ag a borthai eich da trwy y gauaf, a mwy, credwyf, nag sydd genych dda i'w fwyta, heblaw y dognedd mawr drosben o wyrdd lysieu a allech godi.

Sylwaf ychydig yn awr ar adeiladu ystordai, nid yn neillduol ynghylch ystordai degwm yma, canys mae genym ddigon yn bresennol i ddal yr holl yd a feddwn; er fy mod yn credu mai yn yspaid blwyddyn arall y lleinw y bobl hyn yr ystordai hyd oni orlifant, canys y mae cryn nifer o honynt yn myned i weithredu yn uniawn, a byw eu crefydd; ac os gwnant hyny, cewch weled y gwenith, yr ŷd, y ceirch, yr haidd, a'r oll o'n *stock* a'n meddiannau yn cynnyddu. Os nyni a gynnyddwn y pethau hyn a gynnyddant gyda ni, ac ni fydd un diwedd iddi. Eithr mewn trefn i ystorio ŷd, rhaid darparu ystordai. Pob dyn a feddo ffarm sydd ag anghen ystordy—un wedi cael ei gwneuthur o galch a meini, a geidw eich ŷd rhag llygod bychain, llygod ffrengig, a phob pryfetach pedair coesog eraill; hefyd rhag y rhai dwygoes. Ofnwyf y rhai dwygoes yn fwy na y rhai pedair coesog.

Cynlluniwch i adeiladu ystordy gwych, pob dyn sydd a ffarm ac na ymattaliwch hyd oni fyddoch wedi ei chwblhau. Ac na anghofiwch i dalu eich degwm cyn y gosodoch yr ŷd yn

ystordy. Ro'wch heibio ddigon am saith mlynedd, ar gyfrif i bump, o hyny hyd ddeg yn mhob teulu; ac yna cyfrifwch y bydd yn eich teuluoedd o bump i ddeg o bersonau i'r lle y mae genych ddim ond un yn awr, oherwydd eich bod ar gynnydd.

Cymmer yn awr tua deg cant bwshel o wenith i ddiwallu fy nheulu i am flwyddyn, ac mae arnaf eisieu roi heibio chwe' mil am bob blwyddyn o'r saith dros ba rai yr amcanwyf ei ystorio heibio.

Ystyriwch gynnydd tebygol fy nheulu i mewn saith mlynedd: hwynthwy yn unig a fyddant ddigon aml braidd i boblogi dinas fechan. Lle y gofyna teulu yn awr ddim ond cant bwshel y flwyddyn, rodded penaeth y teulu hwnw gant bwshel heibio y flwyddyn gyntaf, dau gant y nesaf, a chynnyddu dognedd bob blwyddyn yn gyferbyniol i'w gofynion.

Pan fyddom wedi ystorio heibio ein ŷd, yr ydym yn ddyogel, yn anymddibynol o'r byd, yn y dygwyddiad o newyn, onid ydym? Ydym, canys yn yr achos hwnw bydd genym ein modd i fyw yn ein dwylaw ein hunain. Pan ddechreuo y newynau ar y ddaear, byddwn ni yn o debyg o'u teimlo yn nghyntaf.

Os anghenrhaid ddechreu o farn yn nhy Duw, ac os mai o'r braidd yr achubir y cyfiawn, pa fodd y bydd ar y drygionus? A ydwyf fi yn edrych am newynau? Ydwyf, y rhai mwyaf arswydus a llem a ddaethant ar genedloedd daear erioed. Mae y pethau hyn yn union o'n blaen, a rhai o'r bobl hyn nid ydynt yn meddwl dim yn en cylch; nid ydynt yn myned i mewn i'w calonau. Etto nid oes Henuriad yma yr hwn sydd wedi darllen y dadguddiad a ddywed Ewch allan a rybyddiwch genedloedd y tir hwn am y clefyd, y marwolaethau, a'r dinystriadau sydd yn dyfod ar y genedl hon, ar nad allant fod yn ddiamheuol o wirionedd yr hyn a lefarwyf. Gwnaethoch yn ol y cyfarwyddid a roddwyd yn y dadguddiad hwnw, ac yn awr adfyfyriwch ar y pethau a fynegwyf yn eich clywedigaeth, a chyfodwch eich lleisieu yn unfrydol fel pobl at Dduw y Nef ar iddo fod yn drugarog wrthom, a ffafrio Seion.

Byddwch ddoeth, gwrandewch ar gynghor, ac ufuddhewch i lais y pen, a chwi a lwyddwch, ac ni anghenwch byth am fara, *ond fel mae byw yr Arglwydd chwychwi a'i teimlwch, os na chadwch*

*ar lwybr dyledswydd.* [Y Llywydd B. Young: *Mae hyna yn wir.*] Ydyw, y mae can wired ag i Dduw erioed lefaru wrth y genedlaeth hon. Ystyriwyf fod roi heibio ein ŷd gweddilliol gyferbyn ag amser angen o'r pwysigrwydd mwyaf i'r bobl hyn, mewn cyssylltiad ag adeiladu y Deml. Gallwch adeiladu y Deml hyna, ac ar yr un pryd esgeuluso y pethau am ba rai y llefarwyf, a chwi a drengwch yn dymmorol.

Yn awr am fyned i godi ŷd, canys teimlwyf yn ddiamheuol y dyry yr Arglwydd i ni ddwy, tair, neu bedair mlynedd o amser da, ac y deil elynion yr uniawn wrth y ffrwyn, os iawn weithredwn. Mynaf yr ' os' i mewn ar bob cynnyg, canys yn y fath achos dywedwyf wrthych y deil Duw ein gelynion ac ni allant gael un gallu, hyd oni ewyllysio Efe ganiatau iddynt, ac wedi hyny ddim ond dros ennyd y caniata iddynt, er mwyn amlygu ei allu hollalluog, ac i'w cyfaddasu a'u darparu at amser i ddyfod. Meddyliwyf yn gywir y peth a ddywedwyf.

Yr ydwyf wedi llefaru yma flwyddyn ar ol blwyddyn, ac wedi dywedyd wythych fy mod yn myned i weithio i adeiladu ystordy gwych, ac y mae genyf un da yn awr, er nad yw wedi ei hollol gwblhau etto. Mae genyf bump neu chwech cant bwshel o wenith ynddo, ac yr ydwyf yn myned i wneuthur llawr tŷn o faen a chalch, a phlastro ar bob ochr, fel y byddo yn sicr yn erbyn llygod a phob mathau eraill o bryfed.

Fel y dywedais, mi a wn y cawn weled y pethau am ba rai y soniais—y fath newynau na welodd y byd hwn erioed. Cawn, y mae genym weled y golygfeydd hyn, eithr os cadwn ein llwon a'n cyfammodau, yr Arglwydd a'u daliant ymaith hyd onid allom ddarparu ein hunain, ac os deffrowch, a gwneuthur fel y dywedir wrthych, chwi a ddiangwch.

Cynghorwyf bob dyn yn mhob sefydliad i adeiladu ystordy; ac os metha un wneuthur felly ei hunan, adeiladed tri un rhyngddynt. Ystoriwch i fyny a chadwch eich ŷd, ac yna chwi a fyddwch yn ddiogel. Eithr pe deuai y newyn arnom yn ein sefyllfa bresennol, pa beth allem ni wneuthur? Os na wnawn fel y dywedir wrthom yn y peth yma, bydd anfoddlonrwydd yr Arglwydd arnom, ac ni pharha Efe i'n bendithio fel y mae yn awr.

Gwn ei fod Ef yn alluog i ganiatau i newynau ddyfod arnom ac yna i wlawio manna i waered o'r nef i'n cynnal. Gwn hefyd

y gallasai Efe gynnyddu ein ŷd yn yr ysguborau a'n blawd yn y cistau, a gwneuthur i un dorth fechan o fara ddigoni i lawer o bersonau, wrth egnio ei allu creawl. Ni wn pa fodd y mae Efe yn gwneuthur hyny, ond mi a wn y geill efe ei wneuthur yr un mor hawdd ag y gallai fy nwyn i i fodoliaeth ar y ddaear hon.

Mae llawer o bethau ag y gallwn eu harbed a gofalu am danynt yn ogystal ag y gallwn wenith, haidd, a cheirch. Gallwn sychu pympiynau, squashes, rhyfion, (*currants*) afalau, *peaches*, &c., a'u sefyll, gallwn hefyd arbed a chadw ffa, pys, a chyffelyb bethau, a'u rhoi heibio er ein diwallu am saith mlynedd. Ac os cymmerwch yr iawn ofal o'ch gwenith gellwch ei gadw cyhyd ag yr ewyllysioch; ond yn y ffordd arferol o'i ystorio y mae genych ei gyffroi, ei symud, ei ail symud, a'i droi drosodd, neu fe waethyga. Mae yr un fath gyda y bobl hyn—maent hwy wedi gorfod cael eu symud a'u hail symud o fan i fan, er eu rhwystro i fyned yn draserchog

Ni ofnwn addaw i ddyn a fyddo yn dri ugain mlwydd oed, os cymmer efe gynghor y br. Brigham a'i frodyr, yr adnewydda ei oed. Yr ydwyf wedi sylwi fod dyn sydd a chanddo ond un wraig, ac yn gogwyddo at yr athrawiaeth hono, yn fuan yn dechreu gwywo a sychu i fyny tra y mae dyn sydd yn myned i amlwreigiaeth yn edrych yn wyryf, ieuanc a gwisgi. Paham hyn? Oherwydd fod Duw yn caru y dyn hwnw, ac o herwydd ei fod yn anrhydeddu ei waith a'i air. Dichon na chred rai o honoch hyn; eithr nid yn unig ei gredu ydwyf fi, ond ei wybod. Cyfyngu dyn i Dduw wrth un wraig sydd fusnes wael, canys y mae yn gymmaint a allwn wneuthur yn awr i gadw i fyny o dan y beichiau sydd genym i'w cario, ac ni wn pa beth a wnelem pe na feddem ond pawb ei un wraig.

Awn rhagom i weithio a gwrteithio y ddaear, a myned i'r maesydd a bendithio y tir, a'i neillduo a'i gyssegru i Dduw; ac yna neillduo yr had, yr offerynau, a'r ceffylau a'r ychain. A ydych chwi yn tybied y caiff hyny ryw effaith? Mi a wn y caiff.

Ys yn agos ugain mlynedd yn ol yr oeddwn mewn lle yn Lloegr yn mha un y teimlwn yn o hynod, eithr ni wyddwn ar y pryd pa beth oedd ei ystyr. Aethym trwy dref a elwir Chadburn, tuhwnt i Clitheroe. Cyn i mi fyned yno, dywed

rhai personau wrthyf nad oedd o un defnydd i mi fyned i Chadburn, gan ofyn i ba beth yr awn yno, a dweyd mai y lle gwaethaf yn y wlad ydoedd, oherwydd bod yr offeiriaid sectarol wedi ffyddlon bregethu yno am ddeng mlynedd ar ugain heb wneuthur un argaff.

Er hyny oll, aethym a phregethais unwaith, a bedyddiais bump ar ugain o bersonau, lle na allai yr Offeiriaid wneyd un dim.

(*Parhad ar tud.* 225.)

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, AWST 1, 1857.

CENFYDD y doeth y drwg o hirbell, eithr y ffol a ofera yn yml dinystr. Ein happeliad sydd at bawb a deimlant y dyddordeb lleiaf yn ngwaith mawreddog a ryfeddol y dyddiau diweddaf a mwyaf pwysig a daroganawl hyn.

Onid amlwg ydyw i chwi fod awr barn Duw wedi dechreu, a phrophwydoliaethau y Gweledydd merthyredig, JOSEPH SMITH yn cael eu cyflawnu yn llythyrenol? Pwy a gredai y bachgenyn syml, diddysg, (o ran dysg y byd,) a barfnoeth a dystiai yn llariaidd ei fod wedi cael adferiad o'r Efengyl dragywyddol, i'w phregethu i'r holl fyd—i Brotestaniaid a Phabyddion, Mahometaniaid a Phaganiaid—i bob bod deallawl, a bod awr barn Duw wedi dechreu? Pwy a'i credai pan ddywed am gynnyddiant yr Eglwys a gynnwysai ddim ond chwech aelod i fod yn genedl gref, am wirionedd Llyfr Mormon, casgliad Israel—adeiladiad Seion—barnau Duw a chwymp Babilon? Er holl amheuaeth a gwrthwynebiad doethion a chedyrn byd, yn mlaen mae tynfa Mormoniaeth o hyd, a phob ysgogiad o'i heiddo mal llanwad anwrthwynebol y môr yn ysgubo ymaith y tywod gloddiau o enllib a drwg ddarogan a wneir i'w herbyn! A ydyw yn ddichonadwy i neb beidio a deall rhagfynegiad prophwydi Duw, hyd y nod yn y rhifyn hwn o'n HUDORN, am

y newynau llymdost ag ydynt *wrth ein drysau?* A ellir gwella golwg y byd ryfelawg, gwaedlyd, ag halogedig?

Gwir da fod anfonedigion Duw heb lanhau eu dwylaw yn hollol oddiwrth waed y genedlaeth hon, neu gwae fuasai iddynt fory nesaf. Os mai egwan yw llais llariaidd a diystyredig gwas gostyngedig Duw yn tirion wahodd pechaduriaid i gymmod a'u Duw, a'r cwbl yn ofer, fe ddaw llais sydd gryfach. "Ac ar ol eich tystiolaeth chwi (medd Duw) y daw llid a digllonedd ar y bobl; canys ar ol eich tystiolaeth chwi y daw tystiolaeth daeargrynfeydd, y rhai a barant riddfanau yn ei chanol hi, (sef Babilon) a dynion a syrthiant ar y ddaear, ac nis gallant sefyll. Ac hefyd daw tystiolaeth llais taranau, a llais mellt, a llais tônau y môr, yn taflu eu hunain dros eu terfynau. A bydd pob peth yn ymderfysgu; ac, yn ddiau, calonau dynion a fethant ynddynt; canys ofn a ddaw ar y bobl; ac angylion a ehedant trwy ganol y nef, yn bloeddio â llef uchel, gan seinio udgorn Duw, a dywedyd, Ymbarotowch chwi, O drigolion y ddaear; canys barnedigaeth ein Duw ni a ddaeth"

Gan fod barn yn dechreu yn nhy Duw, mae gan y Saint wrandaw ar lais eu bugeiliaid, a darparu eu hunain fel nad ysysguber hwynt ymaith gyda'r us o'r llawr dyrnu, sef Seion. Galwn sylw y Saint at brophwydoliaethau y Ll. Kimball yn y y rhifyn hwn am y newynau llŷm sydd wrth ein drysau! Yn wir, nid amser i segura a gwastraffu yw y presennol!

Pan yr ymwelodd ceiliogod y rhedyn, criciaid, locustiaid, &c., â'r Saint, yr ydoedd yn destun gwatwar i'r Cenedloedd—Taenodd eu papyrau y newydd ar led yn orfoleddus, a llawenhasant yn y meddylrith o newyniad Saint Utah, eithr erbyn heddyw mae y byrddau wedi troi, fel y dengys hanes

## CEILIOGOD Y RHEDYN YN MINESOTA, U. D. A.

(O'r *Saint Anthony (Min.) Express.)*

"MAE yr ardal oddiamgylch Fonticello yn llythyrenol yn fyw gan geiliogod y rhedyn. Ni ddarfu i ni erioed yn ein bywyd weled cynnifer o'r trychfilod blinderog a dinystriol hyn. Maent yn clindarddach o dan draed un yn debyg i gregin brau.. Nid oedd dim y fath beth a'u gochelyd hwynt: pa fodd bynnag yr edrychai neu yr aethai un, yr oeddynt yn arddangos eu hunain Er nad ydynt etto wedi dyfod i hanner eu tyfiant, y maent

eisoes yn gwneuthur colled dirfawr; ac os na fydd iddynt ymfudaw yn ebrwydd, rhaid y difrodant bob peth gwyrdd yn swydd Wright.

"Dynion iawn hysbysedig y rhai a wyliasant geiliogod y rhedyn, a'r rhai ag ydynt yn gwybod rhywbeth em eu greddfau a'u harferiadau a haerant eu bod eisoes yn parotoi i gymmeryd llinell eu hymdaith i'r wlad ddeheuol, ac y bydd i barth y Mississippi uchaf gael eu gwaredu yn fuan oddiwrthynt. [Amser a ddywed hyny oreu.]

"Mr Ferguson, yr hwn sydd yn gwrteithio fferm ar Lyn Minnetonka, a'n hysbysa yr wythnos hon fod ganddo ddeuddeg erw o wenith yr hwn, ddeg diwrnod yn ol, a edrychai mewn cyflwr rhagorol. Pedwar neu bump diwrnod oddiar pan dechreuodd y ceiliogod y rhedyn arno, nid oes dim cymmaint ag un eginyn i'w weled ar yr holl gae. Amrywiol erwau o lafur y rhai a ddaethant i fyny mewn gradd rhagorol, a ddinystriwyd yn y cyffelyb fodd.

"I. F. Bradley, Ysw., o Monticello, a'n hysbysa mai ar brydnawn Sadwrn diweddaf yr aeth efe heibio i gae gwenith o yn nghylch ugain erw, gerllaw Monticello, yr hwn oedd mewn cyflwr ardderchog, y gwenith yn sefyll o bedair i chwech a saith modfedd o uchder, ac yn drwchus iawn. Wrth fyned heibio yr un cae ar foreu Llun diweddaf, rhyw un awr ar bumtheg ar ugain yn ddiweddarach, y cae a edrychai fel pe na byddai cnwd erioed wedi bod arno; nid oedd eginyn o wenith i'w weled arno Nid ymddengys fod y gwlawogydd oerion wedi dinystrio dim un, o'r hyn lleiaf nid i ddim helaethder gwerthfawrogol."

Os mai *o'r braidd* y bydd y cyfiawn gadwedig, pa le y saif yr annuwiol a'r pechadur? Os mai braidd cadw rhag rewi wna pobl ar ol darparu tai a dillad cynnes, pa beth a ddaw o'r noethion yn y maes? Os mai o'r braidd y dianga y Saint ar ol ymgynnilo ac ystorio digon o wenith a lluniaeth dros saith mlynedd, pa le y saif y Cenedloedd gwastraffus pan ddel y newyn du?

Mae cŵn rhyfel i'w gollwng allan i'r maes, ynghyd a heintiau a dinystr; canys mae yr Arglwydd Iesu ar ddyfod,a thynghed gwrthodwyr ei Efengyl wedi ei selio,

Ymfudo.—O herwydd fod niferoedd o Saint wedi ymfudo i'r Unol Daleithiau trwy Oruchwylwyr Ymfudawl y byd, dymuna y Llywydd Pratt hysbysu i'r Saint Cymreig, ei fod ef yn trosglwyddo y nifer leiaf yn ogystal a'r amlaf o ymfudwyr pe na byddent ond un teulu, pan fyddo achos. Yn lle myned yn gymmysg a'r cenedloedd drygionus ac aflan, dylai y Saint geisio croesi y môr yn nghwmpeini cynifer a allont o'u brodyr.

Mae y brawd Pratt yn anfon rhai allan braidd bob mis o'r flwyddyn.

Heblaw fod gorchymyn pendant i'r Saint beidio myned mewn ffyrdd eraill, mae eisieu cadw cofnod o'u henwau. Dealler y bydd pawb a ant yn afreolaidd ar ol yr hysbysiad hwn yn fforffedu eu haelodiaeth yn yr Eglwys. Anfoner enwau a blaendaloedd trwy y Swyddfa hon. Hefyd, anfoned y llywyddion enwau pawb a ymfudasant ar ol ymfudiad yr S. Curling ag nad anfonwyd eu henwau yma.

---

At Lywyddion, &c.—Drwg genym na allem roddi cyfieithad llythyrenol o erthygl sydd yn y "Star," rhifyn 32, o eisiau lle. Rhoddwn y synwyr.

Dywed mai dyledswydd Llywydd Cynnadledd ydyw ymweled a'r cangenau a'r tai mor aml ag a allo, gan borthu Saint ei ofal, a'u hysbysu am bob ysgogiad newydd o eiddo gwaith Duw, ac o wyrthwynebiad ei elynion, a pheidio eu gadael mewn anwybodaeth o bob peth sydd yn myned yn mlaen a phob dysgeidiaeth sydd yn dyfod allan, a chadw pob peth mewn trefn a hwyl. Os bydd Llywydd mewn bywyd a diwydrwydd, bydd Saint ei ofal yr un modd, ac os fel arall, hawdd fydd canfod yr effeithiau drwg. Rhy dueddol ydyw llawer un i aros yn y llefydd gwychaf a llawnaf i borthi ei fol yn lle gofalu am ei Saint.

Nid diwrnod i ymwledda, marchogaeth, ac ymblesera ydyw hwn; ond y mae yn ddydd o lafur caled, yn ddydd aberth—yn ddydd pan ddylai pob cynneddf o'r corff a'r Ysbryd gael eu hegnio i achub dynion, a dwyn allan Seion ar y ddaear. Clywer eich lleisiau, a thywyned eich goleuni ddydd a nos, hyd oni lanhaer y winllan; yna y dywed Arglwydd y winllan wrth ei weision, "Gorphwyswch gyda mi yn fy nheyrnas, a llawenhewch yn ffrwythau eich llafur."

Yr erthygl nesaf ydyw, ar

HAELIONI.—Dywed nad yw taliad y degwm yn ddigonol i lethu yr egwyddor fawreddog hon. Os ceidw y Saint eu tai a'u calonau yn agored fel arferol cant fwynhau bendithion yr Arglwydd ar eu bwydydd, a'r oll a fyddo gyda hwynt.

Pa beth sydd yn fwy o fraint na chael yr anrhydedd o lettya porthi, a golchi traed gwas yr Arglwydd, a chael ei addysg a'i fendith? A pha gyfleustra gwell gaiff gweision Duw i adnabod a llesoli y Saint nag yn eu tai a'u cylch teuluaidd?

Yn nesaf sylwa ar y

TAI Cynnadleddol.—Heblaw eu bod yn achosi costau trymion, ac nad oes amser gan un llywydd a fyddo ar gylch tai ei Saint i fod yno, mae ynddynt duedd i fagu segurdod a diogi, ac amddifadu y Saint o'u bendithion, yn ngholled ymweliad eu Llywyddion. Goreu po leiaf o honynt ynte.

DYLED LLYFRAU sydd ar ei gynnydd hyd yn hyn! Gyda dim ond yr *Udgorn* bob pythefnos, cynnildeb a threfn, hyderwn y galluogir ni i gau ein cyfrifon yn ddigolled pan gaffom y fraint o fyned adref.

---

(*Parhad o tudal.* 428.)

Aethym drwy heolydd y dref hono gan deimlo fel na theimlais erioed yn fy mywyd o'r blaen. Ymgodai fy ngwallt ar fy mhen pan y cerddwn drwy yr heolydd, ac ni wyddwn y pryd hwnw pa beth oedd arnaf. Tynais fy het, a theimlais yr angen o dynu fy esgidiau, ac ni wyddwn pa beth i feddwl am y fath beth.

Pan y dychwelais mi a nodais yr amgylchiad wrth y br. Joseph, yr hwn a ddywed, "Onid oeddych yn ei ddeall? Màn ydyw hwna lle y teithiodd rai o'r hen brophwydi, ac y cyssegrasant y cyfryw dir, a'u bendithion hwy a syrthiasant arnoch chwi." Gan hyny, treiwch hi, ac edrychwch os na ad fendith i ninnau gyssegru ein tiroedd. Os meddyliwch na wna, na ddygwch botelaid o olew byth mwy a gofyn a mi ei neillduo a'i gyssegru er lleshad y cleifion. Mi a wn y gallwn fendithio y tir, ac mai trwy ein bendith ni ei llenwir ag Ysbryd a gallu Duw, a hyny i helaethder mawr, yn enwedig os byddwn yn llawn o'r Ysbryd hwnw ein hunain. Dichon yr ystyria rai fi

yn benboeth, eithr nid ydwyf mwy felly nag ydoedd yr hen brophwydi pan yr oeddynt hwy ag Ysbryd Duw arnynt.

Bendithiwn y tir a wrteithiwn a'r ffynnonau dwfr, a hwy a fendithir; ac yna geill dynion yfed o'r dyfroedd hyn y rhai a'u llanwant ag Ysbryd a gallu Duw.

Bendithiwn a chyflwynwn y ffynnonellau bywyd sydd ynom ein hunain, yn ein gwragedd a'n plant, ac yn mhob peth arall o'n hamgylch. A eill Ysbryd Duw fyned i mewn i garreg neu un o'r postiau hyn? Geill, ac fe eill lanw pob twll gystal ag y geill bob chwys dwll yn fy nghorff. A eill ef fyned i mewn i'm chwys-dyllau? Geill, hyd y nod i'm gwallt; a geill hefyd hydreiddio fy esgyrn a bywiogi pob aelod, cyssylltiad ac edefyn.

Na wnawn ymaith ddim ŷd, ddim ond yr hyn sydd yn wir angenrheidiol. Pan y mae yn wir angenrheidiol i ymadael a rywfaint o ŷd, gosodwn ef yn y dwylaw iawn Os byddaf a rhywfaint i'w waredi, gosodaf ef yn nwylaw y rhai a wnant yr iawn ddefnydd o hono. Mae genym ddyfod yn un yn ein pethau arianol yn eglwys a theyrnas Duw. Pa fodd y gallwch chwi ddyfod yn un pren, gydag aelodau a changenau oll yn perthyn i'r unrhyw bren, pan nad ydych mewn undeb?

Ewch ynte i weithio ac adeiladu y deyrnas hon, sefydlu cyfiawnder a darparu eich hunain gogyfer a'r newynau sydd yn dyfod ar y ddaear, canys, meddaf, *y maent yn dyfod.*

A ydych chwi yn tybied y roddai Duw ddatguddiadau a dweyd wrthom am rybyddio cenedloedd y ddaear am bethau ag oeddynt yn dyfod yn gyflym arnynt, pe na fwriadai i'r cyfryw bethau ddyfod? Efe a ddywed y caent eu teimlo, a mi a wn fod yn rhaid iddynt eu teimlo, canys ni edifarhant. Awn i weithio a darparu gogyfer a'r miloedd ar filoedd a ddeuant atom.

Ein Cwmpeini Cludol nid yw ond yn ei fabandod, ond fe ddarpara y ffordd ac fe ddaw y dydd pan y casgla pobl yma wrth y cannoedd a'r miloedd; ïe, hanner can mil y flwyddyn, ac aml aml rai a'i throediant tuag yma a'u pwnau dan eu breichiau. Clywais y br. Joseph, y br. Brigham, a dynion eraill yn dweyd y bydd felly, a mi a wn y bydd, oherwydd iddynt hwy ei ddweyd. Mentra llawer o honoch chwi i ddweyd eich bod yn ei gredu, eithr mi a wn ei fod yn wir, ac yn sicr o ddyfod i ben.

Brodyr a Chwiorydd, y rhai hyn ydynt rhai o'm teimladau i; a gobeithiwyf yr â y rhai a rybyddiasom ni adref a rybyddio eu cymmydogion a'u hannog i fod yn ddiwyd o ddifrif, ac yna ni fydd genym ddweyd y pethau hyn wrthych drachefn. Nid yw yn amser i rwgnach, nac i gael y *blues*, tethi siwgr, dawnsio, na difyru ein hunain. Attaliwyd difyrwch am y presennol; eithr pan ddywed y br. Brigham Dawnsiwch, yna dawnsiwch, eithr pan y dywed Ymattaliwch, yna ymattaliwch; a phan y dywed Prophwydwch, yna prophwydwch, ond byddwch sicr o brophwydo yn iawn.

Ni ddywedais ond yr hyn a roddodd yr Ysbryd, ac mae yr egwyddorion y sylwais arnynt yn gynnwysedig yn y Beibl; os nad ydych yn ei gredu, cymmerwch y Llyfr hwnw ac edrychwch drosoch chwi eich hunain; ac yna cymmerwch Lyfr Mormon ac edrychwch pa beth a ddywed yr Arglwydd wrth y Nephiaid. Efe a ddywed, "Y genedl neu y bobl ar na'm gwasanaethant I ar y tir hwn, a dorraf ymaith oddiar wyneb y ddaear," a mi a wn y gwna Efe hyny. A'r br. Brigham, y Deuddeg Apostol, a'r Patriarchiaid John Young ag Isaac Morley a ddywedant mai gwir ydyw. Duw a'ch bendithio: Amen.

## PLOC Y DEML.

(O'r *Deseret News.*)

Un diwrnod yr wythnos ddiweddaf, yn ol ein bwriadau mynegedig, nyni a gymmerasom rodfa y tumewn i'r mur ag sydd yn amgylchynu ploc y deml, i weled pa beth oedd yn myned yn mlaen yno, a pha beth yr oedd cynnifer o ddynion yn gweithio wrtho, ag oedd i'w gweled yn myned a dyfod yn mhob cyfeiriad. Porth y dwyrain yn unig a gedwid yn agored er mynediad a dyfodiad y gweithwyr, ac i'r gweddeuau i lusgo cerrig, calch, tywod, glo, coedach a defnyddiau eraill angenrheidiol er dwyn yn mlaen yr amrywiol fathau o waith a pheirianwaith, ag y mae dynion mewn gorchwyl ynddynt ar ac oddiamgylch sylfaen deml, yn y gweithdai cyhoedd a lleoedd eraill ar y bloc.

Megys ag y dysgwylid oddiwrth y swn a glywid am lawer o wythnosau, y peth cyntaf a welid wrth fyned i mewn trwy y porth oedd tyrfa fawr o naddwyr cerrig yn diwyd weithio yn naddu y creigiau aruthrol a lusgasid yno o'r chwarel, pedair neu bump milltir o ffordd, a'u cymhwyso hwynt at y lle ag oeddynt

yn cael eu gosod yn drefnus i gadw yn ngwadn y deml.

Gweisom yno, yn llawen wrth y gwaith, ddynion ag oedd eu gwallt yn wŷn gan oed, canol oed, a dynion ieuainc, gyda llawer o fechgyn braidd yn dechreu defnyddio yr aing, a'r swn ag oedd ynt yn ei wneyd oedd yn agos ein byddaru, gan ein bod ni yn anymarferol a swn o'r fath hwnw. Ni ddarfu i ni gyfrif y dynion, eithr y naddwyr, y cludwyr, a'r gosodwyr cerrig i gyd gyda eu gilydd a ymddangosent i ni y gallent ffurfio byddin fechan, ac mor fuan ag y cwblheir Camlas Cottonwood, a'r hawsderau er trosglwyddo y graig i gynnyddu yn gyflymach, nifer yr ysgwarwyr cerrig, a gweithwyr a ychwanegir mewn gradd gyfatebol.

Wedi treulio byr amser yn edrych ar y golygfeydd gweithgar y tu allan, ni a aethom heibio trwy y gweithdai cyhoedd, gan gymmeryd golwg frysiog ar yr hyn ag oedd yn myned yn mlaen yno, a chawsom hwynt yn fyw o weithwyr. Y gweithdy cerrig, lle y neddir cerrig mewn dullwedd rhagorach ac amrywiaeth mwy na'r rhai hyny at wadn y deml; gweithdy y gofiaid, gweithdy y seiri, gweithdy y paent, gweithdy y gofiaid gynau. peiriant a gweithdai eraill oll sydd yn arddangos golygfa o ddiwydrwydd, athryllithgarwch a medr yn werth edrych arnynt.

Yn mhlith pethau eraill, y tân-beiriant, yr hwn ag y mae cynghor y ddinas yn cael ei wneuthur, a ddenodd ein sylw, gan y meddyliwyd gan rhai nas gallasai un da gael ei wneuthur yma. Mae y gweithwyr yn myned yn mlaen gydag ef yn araf, ond pan ei orphenir, os na fydd cystal ag uu a ddygir i mewn, wrth bob damwain, ni a fyddwn yn camgymmeryd. Bydd o law weithiad y dyffryn, a gellir gwneyd un arall, os bydd iddo fethu gweithio yn dda, a wna yn well, mewn cydgordiad ag ysbryd yr oes.

A chenym ond ychydig amser i dreulio mewn gwleddà ein meddwl yn chwiliad yr amrywiol fathau o waith a wnaed, ac yn nghynnydd y cwblhad yn yr amrywiol ddosparthiadau trwy ba rai yr aethom, a gweled dynwarediad o'u rhybydd breintlythyrol i dorthwyr (loafers) wedi ei osod i fyny wrth bob congl, ni arosasom yn hir mewn unrhyw le, a dychwelasom gyda can lleied oediad ag a wnelai ein cywreinrwydd ein hunain ei ganiatâu i weini i ein gorchwyl ein hunain, wedi ein mawr foddhau gyda'r wibdaith, a'r hyn a welsom.—*Deseret News.*

## DYLEDION AM LYFRAU, MEHEFIN 30, 1857.

| CYNNADLEDD. | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Brycheiniog .. .. .. .. .. | 10 | 2 | 10 |
| Mynwy .. .. .. .. .. .. | 61 | 0 | 0 |
| Morganwg Ddwyreiniol .. .. .. .. | 112 | 18 | 11½ |
| Caerdyf .. .. .. .. .. .. | 56 | 9 | 6 |
| Morganwg Orllewinol .. .. .. .. | 130 | 10 | 6½ |
| Llanelli .. .. .. .. .. .. | 63 | 8 | 7 |
| Caerfyrddin .. .. .. .. .. | 24 | 10 | 5½ |
| Penfro .. .. .. .. .. .. | 10 | 1 | 11½ |
| Aberteifi .. .. .. .. .. .. | 18 | 13 | 7 |
| Meirion .. .. .. .. .. .. | 12 | 0 | 5½ |
| Fflint .. .. .. .. .. .. | 14 | 1 | 4 |
| Dinbych .. .. .. .. .. .. | 18 | 2 | 1½ |
| Môn .. .. .. .. .. .. .. | 12 | 13 | 1½ |
| | £544 | 13 | 5½ |

TALIADAU AM LYFRAU O MAI 28 HYD GORPHENAF 31.—A. L. Jones, £7; J. Thomas, £1. 8s.; J. Davies, £11; J. Griffiths, 12s.; J. Treharne, £1 2s.; I. Jones, £4; E. D. Miles, 10s.; W. Ajax, Dinbych, £1 18s.; W. Ajax, Mon, £3 11s. 8c.; M. Vaughan, £5.

☞ NAC anghofier y gofyniadau yn ein rhifyn blaenorol, ynghyd a chyfrifon y flwyddyn o'r blaen, fel y gofynwyd trwy lythyr.

DYSGWYLIWN y cenhadon o Utah yn ddyddiol.

Cyfeiriadau—Rev. David Davies, Cil Heol, Llanelly, Carmarthenshire.

Mr. Levi James, 7, Park St., Swansea.

CYNWYSIAD.



ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS, ABERTAWY.

// UDGORN SEION

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 17.] AWST 15, 1857. [ CYF. X.

## CNEUEN NEU DDWY I'R "ARWEINYDD" GNOI.

DEALLED ein darllenwyr mai newyddiadur a gyhoeddir yn Mhwllheli, Gogledd Cymru, ydyw yr ARWEINYDD.

Mae yr *Arweinydd* hynod hwn mor ddall ei hun o barthed i "Formoniaeth," fel y cymmer efe ei arwain gan rhai o'i ohebwyr ag ydynt ddallach fyth, gan wir gyflawnu yr ysgrythyr, 'Os y dall a dywys y dall, y ddau a syrthiant yn y ffos:"—ffos celwydd ac anghyssondeb yn yr enghraifft yma.

Dyry amryw gyhuddiadau blasus yn erbyn y Saint, gan watwar eu Duw yn anghyffredin.

Yn ngwyneb ei gyhuddiad cyntaf, sef, "nad oes gan 'Formoniaeth' gredoau sefydlog, ond y mae ei hegwyddorion a'i hathrawiaethau yn agored i gael eu cyfnewid yn ol mympwy, ac at ddybenion neillduol y penaethiaid eglwysig," dywedwn mai haeriad disail a ehelwyddog ydyw, a gofynwn am y *prawf*! Gorchwyl hawdd ydyw cyhuddo, difrio, a dyfarnu—nid mor hawdd profi y pwnc a sefydlu y ffaith—*the proof* Mr. *Arweinydd*.

Cyhuddiad 2.—Yn bresennol cymmysgfa ydyw o baganiaeth, Judasiaeth, Cristianogaeth, Mahommedaniaeth, eulun addoliaeth, ac anffyddiaeth."

Hyawdl a ffraeth dros ben; eithr pa le mae y *prawf* etto Mr. Gol? Ddim ond un peth sydd yn eisieu yn eich 'cymmysgfa' chwi, sef, *gwirionedd*: pe meddech hwnw, dilynai dau beth arall —cyssondeb a phrawf. Ni ddywedasoch *pa* ranau o'r 'iaethau' uchod sydd mewn Mormoniaeth. Dichon fod gan hyd y nod

baganiaid rhai syniadau cywir, ïe, amgenach nag eiddo Cristianogion cyfenwedig ein hoes. Y mae gwell syniadau gan hyd y nod eulun-addolwyr ac anffyddwyr ein hoes nag sydd gan rhai a ymgyfenwant yn Grìstianogion.

Ni efelychwn ac ni ddilynwn yr *Arweinydd* mewn haeriadau heb eu profi â ffeithiau anwadadwy.

I. Cred 'Cristianogin' ein dydd mewn Duw sydd heb gorff, ranau, na nwydau—yn hollbresennol, neu yn llanw yr holl eangder, nefoedd, daear ac uffern er yn ansylweddol, ac etto yn grewr pob sylwedd. Ys dywed cân y brawd John Richards, y

Mae Duw gan y sectariaid, fry yn y drydydd ne'
Ac yma ar y ddaear, yn llon'd pob man a lle;
Mae'n llenwi uffern obry, a'r haul a'r lloer sydd fry.
A hyn ar bob amrantiad, er syndod mawr i mi!

Ni fedd ar lun na delw, er iddo fod erioed,
Ni fedd ar ben na llygad, na llaw, na chlun, na throed;
Mae ef yn Dduw disylwedd, a thad sylweddau'r byd,
Yn Awdwr a Chynnaliwr y *chaos* mawr i gyd!

Mae'n fwy ei faint na'r ddaear, a'r moroedd maith i gyd,
Haul, lloer, sêr, a'r planedau, pe byddent oll ynghyd;
Ni fedd 'chwaith ar gyffiniau—ei ganol sy'n y nef
A'i ganol yma hefyd—bôd rhyfedd iawn yw ef!

Mae da a drwg yn draphlith, yn cadw dirfawr lòl,
A bydoedd yn aneirif, oll yn ei anferth fol!
Amrywiaeth o elfenau, a bodau fyrdd diri,'
Yn trigo yn ei geudod, sydd syndod mawr i mi!

Pa le mae'r Duw yn trigo? O yn y drydydd nef,
'Rym ninnau yno hefyd, os yn ei fola ef;
Os felly y mae credu, ffolineb hyll i dref.
Yw son fod tylwyth angeu yn myned ato ef.

Os yw y bydoedd ynddo, 'rym ninnau ynddynt hwy,
Ac felly ynddo yntau a pheth sydd eisieu mwy?
Ffolineb son am nefoedd, i fyny fry yn mhell,
Na dim dedwyddol fanau—nid oes dim eisieu gwell.

Mae pawb yn Nuw yn barod, yn ol eu credo hwy.
Ffolineb mawr pregethu am Grist a'i farwol glwy';
Er hyn rhaid wrth bregethwyr, a thalu cyflog fawr,
A gostwng pen a phlygu, i'r rheiny hyd y llawr.

Ac hefyd hwy weddiant, bob un o dan ei faich,
"O Arglwydd Dduw y lluoedd, dynoetha di dy fraich;
"A thyred yma'th hunan i'n llwyr fendithio ni;
"Yr ydym ni yn d'lodion, mae digon genyt ti."

Ffolineb dweyd *Dynoetha* yr hyn erioed na fu,
A gwahodd gwrthrych atynt sydd *fwy na llon'd y ty;*
Pwy allant fod yn *d'lodion* a *thrigo ynddo ef*?
Ac yntau'n *holl gyfoethog*, ac yn y drydydd nef!

O Arglwydd Dduw y lluoedd, dwg bawb yn wŷn a du,
Yn fuan i'th adnabod trwy ffordd y cymmod cu;
Rhag iddynt yn y diwedd gael profi dial blin,
Pan ddelo'r dydd i'n barnu a'n profi ni bob un.

Ystyr duw heb gorff &c. yw duw ansylweddol, neu *dduw dim!* Pe byddai yn sylwedd, rhaid fyddai i'r sylwedd hwnw lanw rhan o eangder, ac yna byddai yn *gorff*. oblegid mai corff ydyw *maintioli o unrhyw sylwedd yn llanw eangder*. Pwy a all ddirnad neu ddesgrifio *dim?* Pa afael neu allu sydd gan 'ddim' ar sylwedd? Pe ofnem neu y carem 'dduw y sectariaid,' pa beth a ofnem neu a garem? *Dim!*

2. Credant i'r tybiedig gysgod diddym hwn ddwyn yr holl elfenau i fodoliaeth allan o ddiddymdra! "Allan o ba beth y creodd y Duw *mawr* y byd hwn, fy mhlant i?" meddai yr athraw wrth blant yr ysgol sabothol. "O *ddim*" yw yr ateb parod ar ol 'dysgu y pwnc.' Fel hyn y gwreiddir syniadau mwy gwrthun yn meddyliau plant 'Cristianogion' ein hoes nag mewn hyd y nod blant eulun addolwyr! Y mae gan eulun-addolwyr rhyw wrthrych i'w addoli—yr elfenau tân, dwfr, ac awyr, neu yr haul, y lleuad. afon, creadur, neu ddynsawd yn meddu corffranau, a nwydau. Gellir deall y rhai hyn; eithr pwy all ddirnad am dduw ansylweddol yn meddu person, ond dim un corff, a'r person hwnw yn dri pherson, a'r tri pherson yn un person? Beia y sectariaid eulun-addolwyr am beidio a myned yn ol goleuni eu dealltwriaeth a'u reswm, yn lle traddodiadau a choegdybiadau, tra y maent ganwaith ffolach eu hunain!

*Anffyddiaeth*, aie' Mr. Gol? Onid yw yr uchod yn ddigon i laru unrhyw ddyn myfyrgar, a'i serio yn anffyddiwr os na fydd efe yn *adnabod y gwir Dduw?*

Tra y dysgir y gwrthuni fod elfenau ein daear wedi cael eu dwyn, allan o ddiddymdra. i fodoliaeth, er's tua chwe' mil o flynyddau yn ol, daearddysg (geology) a ddysg yr anffyddiwr yn amgen. Argraffiadau amlwg a adewir ar sylweddau gan effaith amser mor gysson a chodiad haul neu gyfnewidiad tymhorau a brofant eu bodoliaeth am fwy na chwe' mil o flynyddau yn ol. Hawddach ydyw i'r anffyddiwr gredu yr hyn a eill weled drosto

ei hun na hen ffiloreg goegdybiadol penboethiaid coel-grefyddol ac hunanol,

Pwy a all ddirnad dygiad sylwedd i fodoliaeth allan o ddiddymdra? Neb. Pwy ddyn yn ei bwyll a gred yr hyn ni eill dirnad, ag a sydd wrthun yn ngwyneb ei reswm? Pa fôd cyfiawn a'i deil yn gyfrifol am beidio? Pa sut mae eich dannedd wrth dorri y cnau, Mr. Gol.?

Nid y beibl ydyw safon y gwrthuni a nodwyd. Ni cheir ynddo hanes cread yr elfenau allan o ddim. Ni cheir hanes yn y beibl am dduw heb gorff, rhanau, na nwydau; eithr i'r gwrthwyneb, dyry hanes Duw sydd yn feddiannol ar gorff, rhanau, a nwydau, wedi cydgerdded, cydfwyta, cydymorchestu, a chyfeillachu *wyneb yn wyneb* gyda dyn—Duw a fedr garu neu eiddigeddu, yr hyn a brawf ei nwydau.

Cyhuddiad III. Dywedwch fod ein "tybiadau wedi cyfnewid llawer mewn perthynas i'r Duwdod oddiar *dechreuad* ein cyfundraeth." Gofynwn yn mha enghraifft, yn nghyd ag ystyr *dechreuad* ein cyfundrefn? Cneien arall sydd gan Mr. Gol i dorri ydyw mai dim amgen na " ryw dyb i ogleisio cywreinrwydd" y Saint yw y Duw a addolant. Credwn fod genym ddigon o gyfeillion a gwaeth ysfa ogleisiol arnynt, oddiwrth y ffeithiau a nodasom.

IV. Haera fod y Saint yn ymgyrhaedd at gael coron y Duwdod yn y diwedd ar eu penau eu hunain. Gwir da am unwaith, yn ddamweiniol. Yr oedd Paul yn "cogleisio cywreinrwydd y Philipiaid yr un fath, pan y dywed, Bydded ynoch y meddwl yma yr hwn oedd hefyd yn Nghrist Iesu, yr hwn ac efe yn ffurf Duw ni thybiodd yn drais i fod yn ogyfuwch ag ef."

Mewn trefn i brofi a sefydlu y pynciau hyn anfonwn gopi o'r 'Pwy yw Duw y Saint" i chwi Mr. Gol, fel na chymmerom ormod o'n lle idd eich hateb, gan fod y traethawd yn egluro ei bwnc, ac yn gwrthbrofi eich cam-gyhuddiadau.

Nyni a atebwn am unrhyw athrawiaeth a welwch yn ein llyfrau, a chynnwysant hwy bob egwyddor o'n crefydd a bregethwyd yn y wlad hon erioed; eithr ni sylwn ar ail adroddiadau celwyddog a disail enllibwyr maleisus, megys y cyfeiriad at ddywediadau y brodyr Wheelock, Kaye, &c. Rhoddwn yr hyn a eilw deheuwyr hec, a cham, a naid dros y

crugiwyth celwyddau a ddyfeiswyd gan elyn maleisus heb sail.

Y cyfieithiad cywir o'r difyniad o'r dadguddiad a nodir sydd fel y canlyn:—[allan o'r "Millennial Star," rhif 48, cyf. 15.]

"Yn awr gwrandewch hyn, O drigolion y ddaear, Iuddew a chenedl ddyn, Saint a phechadur! Pan ddaeth ein Tad Adda i ardd Eden, efe a ddaeth iddi gyda chorff nefol, ac a ddygodd Efa, un o'i wragedd, gydag ef. Efe a gynnorthwyodd i wneuthur a chorffori y byd hwn. Efe yw Michael yr Archangel, yr Hen Ddihenydd, am yr hwn yr ysgrifenodd ac y llefarodd dynion santaidd. Efe yw ein Tad a'n Duw, a'r unig Dduw a'r hwn y mae a wnelom *ni*. Rhaid i bob dyn ar y ddaear, Cristionogion proffesedig neu anmhroffesedig ei glywed, a hwy a'i gwybyddant yn fuan neu yn hwyr."

Mae duwiau lawer ac Arglwyddi lawer, ond i *ni* nid oes ond *un* Duw meddai Paul, ac am ein rhesymau dros addoli yr *un* Duw hwnw, cyfeiriwn chwi at y traethawd "Pwy yw Duw y Saint," gan hyderu y gwelwch fod genym amgenach Duw nag un sydd heb gorff, rhanau, na nwydau.

Cyfeiriwn chwi hefyd at 1 Cor. pennod 2, lle y dysgwch ddirgelwch, h.y., na ddichon y dyn anianol ganfod a deall pethau Duw heb feddu Ysbryd Duw, ac os na allwch gredu hogiau y Saint pan y pregethont Grist a chrediniaeth ynddo, gan broffesi fod ganddynt awdurdod i weinyddu ordinhadau yr Efengyl, a bod dawn yr Ysbryd Glan i'w gael trwy hyny, ni ddysgwyliwn y gallwch gredu na chanfod pethau dyfnion yr Ysbryd.

Dengys hen chwedl arall-ieithol Elin Dafydd fod eich papyr flynyddau ar ol yr amser. Yr un fath y gwr mawr call o Leyn, yr hwn sydd yn gwneyd y darganfyddiad rhyfedd fod y Saint yn Utah yn credu ac ymarferyd amlwreigiaeth, ac yn herio neb o'r Saint i brofi nad ydynt, tra y mae eu cyhoeddiadau yn cyhoeddi yr athrawiaeth er's blynyddau, a neb eto wedi eu gwrthbrofi! Mae "hogiau Lleyn" yn mhell o'ch blaen, Jones bach, brysiwch i'r *patent office* a'ch darganfyddiad rhyfedd, a pheidiwch a pharablu yr hyn ni wyddoch. Awgrymwn ynte i gael enw newydd i'r *Arweinydd* sef yr *Olynydd*, a dysgwyliwn glywed cyn hir na fedd enw yn y byd!

## YCHYDIG O OFYNIADAU YCHWANEGOL I'W HATTEB GAN WEINIDOGION.

(O'r *Western Standard.*)

GEILW y Beibl yr hen Abraham yn gyfaill Duw; a mynega mai o herwydd ei ufydd-dod a'i ffyddlondeb yr aeth Duw i gyfammod ag ef. Ei barodrwydd i aberthu ei fab Isaac sydd brawf nad allasai Duw roddi iddo un gorchymyn ar nad ufyddhaai yn ddibetrus iddo a'i holl galon. Os felly hyn, ac os ydyw aml briodasau yn bechadurus, anmhur, ac anweddaidd yn ngholwg Duw, pa fodd y mae yn ddichonadwy na wnaeth Efe Araham yn hysbys o natur pechadurus y fath briodasau, pan yr addawodd y caffai brenhinoedd ddyfod allan o hono, ac mai yn ei hiliogaeth y bendithid y byd, gan weled, ei fod ar y pryd hwnw yn amlwreigiwr?

Pan y gwnaeth Israel rhyfel llwyr-ddyfethol â'r Midianiaid, gorchymynodd Duw hwynt i arbed y benywod ieuainc, er mwyn iddynt gael bod yn wragedd i'r Israeliaid. Daliasant ddeuddeg mil ar ugain o foneddigesau ieuainc; ac wrth orchymyn Duw fe'u rhanwyd hwynt rhwng y fyddin, y gynnulleidfa a'r Arglwydd. Yn ol y rhaniad hwnw, fe gafodd y fyddin un fil ar bumtheg y gynnulleidfa 15,698, a'r Arglwydd 32. Yn awr, gan na ofynai y ddefodaeth Fosenaidd forwynion i weinyddu yn swyddau crefydd, a chan y dywedir, yn Ecsodus vii. 1, fod Moses yn Dduw, oni roddwyd y 32 morwynion hyn i Moses, ac os eu rhoddwyd iddo, oni fwriadwyd iddynt fod yn wragedd iddo? Os naddo, i ba amcan y bwriadwyd hwynt? Ymofynwch a phennod 31 o Numeri.

Pan fygythiodd Duw, yn Numeri xiv. 12, i ddinystrio gwŷr Israel am eu drygioni, ac y dywedodd wrth Moses y gwnelai genedl fawr o hono ef, ar ba egwyddor yr addawodd efe hyny, os nad ar yr egwyddor o amlwreigiaeth?

Hannah ydoedd ail wraig fyw Elkanah; Samuel, gan hyny, ydoedd eppil priodas amlwreigiawl. Yn awr y mae amlwreigaeth naill ai yn bur a santaidd gerbron Duw, a'i phlant yn gyfreithlon, neu y mae yn anmhur ac ansantaidd, a'i heppil yn fastardiaid, ac wrth gyfraith Moses ddim yn cael caniatad i fyned i mewn i gynnulleidfa yr Arglwydd. Os, gan hyny, ni anwyd Samuel mewn priod-sefyllfa gyfreithlon, pa fodd yr

ydoedd yn bosibl iddo weinyddu wrth yr allor, fel yr etholedig Brophwyd, Gweledydd, a Datguddiedydd y Goruchaf Dduw?

Wrth ymofyn a Samuel xii. 7, cawn i Dduw ei hun roddi i Ddafydd wragedd Saul, a phe na fuasent ddigon, y roddasai ychwaneg: Pa fodd y gallasai hyny fod, yn ol syniadau anysbrydoledig unwreigwyr?

Esai a brophwydodd mai yn adeiladiad a gogoneddiad Seion yn y dyddiau diweddaf y cynnygia saith o fenywod eu hunain yn wragedd i'r un dyn: A gred Grstianogion unwreigiol y cyflawnir rhagddywediad y 'Prophwyd Efengylaidd'? Ac os ydyw yr ysgrythyr hon i gael ei hesbonio a'i ysbrydoli, pa fath wragedd a fydd y gwragedd ysbrydol hyn?

Addawodd Crist i'r rhai a adawent wragedd, &c., er ei fwyn Ef, i'w gwobrwyo ar y ganfed yn y byd hwn. Oni chofleidia y cyflawniad o hyny yr egwyddor o amlwreigiaeth?

Yn mha le yn y Beibl y gwaherddir amlwreigiaeth, ac ei chyhoeddir yn anghyfreithlon?

Pa adnod yn y Beibl sydd yn dweyd ei fod yn anghyfreithlon i ddyn Crist'nogol gael mwy nag un wraig?

Onid yw llefariad Paul yn Timothy iii. 2, 12, yn gyfartal a dywedyd y rhaid i Esgobion a Diaconiaid fod yn wŷr priod, gan feddu o leiaf un wraig?

Pa gyfundrefn sydd a'r tuedd goreu i gynnyrchu hiliogaeth iach a heinyf; amlwreigiaeth y 'Mormoniaid' ag sydd yn hollol wahanu gwraig oddiwrth ei gwr yn ystod ei beichiogaeth, a'r cyfnod meithrinol, neu unwreigiaeth y Cristianogion sydd yn orchwantus dorri y cyfreithiau hyny o fywyd ac iechyd ag mae hyd y nod anifeiliaid mudion yn eu parchu?

Yn Utah, hyd y nod ar dystiolaeth gwrthgilwyr, nid oes ond dwy ddosparth o fenywod: sef, gwragedd a merched. Pa un sydd yn oreu, sefyllfa pethau yn Utah, neu gymdeithas yn Nghaliffornia, [ïe, a Phrydain hefyd] lle, mewn ychwanegiad at wragedd a merched y mae trydydd ddosparth lled luosog o fenywod?

[Dewch, Mr. 'Arweinydd,' gan fod mor flin genych am y 'nyth santyddol,' a chydmarwch y nyth i'r hon y perthyna y fath aderyn a chwi ag eiddo y 'nyth santyddol.'—Gol.]

☞ Pan welo ein darllenwyr rhyw ddernyn mewn unrhyw gyhoeddiad yn cyffwrdd â 'Mormoniaeth,' gwnaent gymmwynas a ni wrth ei anfon yma. Diolch i'r br. Evans, Tredegar.—Gol.

# UDGORN SEION,

NEC

## Seren y Saint.


### DYDD SADWRN, AWST I5, 1857.

Y MILWYR I UTAH.—Ar ol i'r newyddiaduron Americanaidd am fisoedd barablu digon am anfon milwyr a llywodraethwr newydd i Utah, cychwynasant hwynt o'r diwedd, pan yr oedd yn amheus pa un a ddelid hwynt gan y gauaf cyn y cyrhaeddent; eithr pa beth a ddywed yr *Arweinydd* a Mr. "Jones o Leyn" yn awr tebyg? Dywed y *St. Joseph* Journal, am Awst 2, fod un cwmpeini o 100 o filwyr a 50 o weddeuwyr wedi cael eu lladd oll ar y *plains* gan yr Indiaid. Colonel Summers oedd eu gorchymynwr. Dygwyddodd hyn tua 200 milltir o Fort Kearney. Yr oedd yr Indiaid wedi dweyd wrth ein cenhadon ni eu bod yn darparu ar eu cyfer.

*Pa mor belled yr aeth y Milwyr?*—Y *New York Herald* a'n hysbysa fod terfysg arall wedi tori allan yn Kansas, o herwydd fod cynghrair dinas wedi ffurfio breintlen wahanol i'r hon a ganiataäi deddf-wneuthurfa y diriogaeth. Cododd y llywodraethwr i'w herbyn, a gorfodwyd anfon ar ol Cadfridog Kearney a'r milwyr ag oeddynt ar eu ffordd i Utah i ddychwelyd yn ddioed i Kansas i gadw heddwch. Crynhodd amryw wyr arfog i'r maes, a brwydr anocheladwy ddysgwylid Dichon y cawn ryw newydd cyn yr elom i'r wasg.

YMFUDO ETO.—Hyderwn fod sylw wedi ei roddi i'n hysbysiad ar y pen hwn yn y rhifyn o'r blaen. Cyhoeddwn yn awr yr enwau a gawsom o rai a aethant i ffwrdd, rhai o honynt yn afreolaidd, ac heb fod yn eu lle fel aelodau yn yr eglwys, ac eraill trwy y Llywydd Orson Pratt, heb ein hysbysu ni:— O Gynnadledd Ddwyreiniol Morganwg, Thomas Evans, Cefn, a'i deulu, M. Powell, Robert Evans, Jno. Ventries, Caerdyf, a'i deulu, W. Vaughan, "nifer o Georgetown;" ceisier eu henwau, ac anfoner hwynt yma; Dd. Jones, Dd. Thomas, Hendry, Phillips; Jane Williams, Edward Lewis a'i wraig, y tri o

Dowlais; David Thomas, a'i deulu, James Keate a'i chwaer, John Harris, John Morgan ac Elisabeth Moslin, oll o Gaerdyf; T. Stephens, Hopkin Hopkins, Cwmbach; Albion Jenkins, Llanfabon, a'i wraig; John Edwards, Aberdâr; Wm. Powell, Merthyr, a'i wraig; a Wm. Thomas, o'r un man; "un *o* Rymni ac un o Cwmbach." A ellir cael eu henwau? &c. O Brycheiniog—J. Jones a Robert James. O Sir Fynwy—Maria Bath, Elizabeth Talbot, a'i theulu, David Rees, Griffith George, John Price, Rees Rees, John Masters, ei wraig, a dau o blant. Os oes ychwaneg, anfoner yr holl enwau, &c., yma yn ddioed, gan fod y Llywydd Pratt yn galw arnom am danynt, ac yn dweyd "fod yn *rhaid attal* y fath drafodaeth o hyn allan, a myned yn rheolaidd."

---

CYFARWYDDIADAU.—Mae holl Lywyddion y Cynnadleddau erbyn hyn yn deall pa fodd yr ydym am gael eu 'Bal. Sheets chwe' misol. Heblaw y rhai chwe' misol dymunem i lywyddion anfon cyfrif yn amlach yn eu gohebiaethau pa fodd y byddont yn defnyddio y degwm, dywedwn yn fisol; eithr bydd eisiau y 'Balance Sheet' chwe' misol yr un modd. Gofynasom trwy lythyr am "falance sheet" o bob arian a dderbyniodd y trysorwyr o ddechreuad llywyddiaeth y llywyddion presenol yn nechreu 1856 hyd y 31 o Rhagfyr diweddaf; oddieithr arian llyfrau, y rhai a dderbyniodd y Dosparthwyr, wrth gwrs, ac arian y Drysorfa Geiniogol. Nid oes yr un o'r ddau arian olaf i fod yn y *Bal. Sheet* a nodwn. I gyferbynu i'r swm a dderbyniwyd gofynwn gyfrif y treuliadau yn ystod yr un amser. Gofynasom, hefyd, am enwau y cangenau a gawsant gredit gan y Llyfr ddosparthwyr am arian llyfrau a gawsant o'r degwm. Er enghraifft dywedwn fod A. B. y dosparthwr yn cael £5 (pum punt) o'r degwm i dalu i'r Swyddfa am lyfrau. Dacw 'fe yn rhoddi credit i gangen A o £1 B o £2, C o £1, a D. o £1; yna, ar ben y chwe' mis enfyn *list* yma a'r enwau cangenau a'r symiau ynddi; wedi hyny, nyni a'u cyhoeddwn yn yr Udgorn, fel y gallo dosparthwyr cangenau edrych nad oes un camsynied. Gan hyny, gofynwn y *list* hon am y chwe' mis diweddaf, sef o Ionawr 1 hyd Mehefin 30, ac un arall o ddechreuad y Degwm hyd Rhagfyr 31.

Am y Drysorfa Geiniogol gofynwn gyfrif o symiau ac enwau

Cangenau a'u cyfraniadau o sefydliad y Drysorfa hyd Mehefin 30, 1857, ar yr ochr ddyledol, (Dr. side,) ac ar yr ochr daliadol gosoder y symiau a dalwyd i mewn yma, a'r balance mewn llaw, os ydoedd.

Prif ddosparthwyr llyfrau, ag ydynt heb eu hanfon, a anfonant eu Bal. Sheets am Mehefin 30. Ni ofynwn *list* o'r cangenau dyledol, nac o'r llyfrau ar law—ddim ond *cyfansymiau* y ddau beth hyn, a'r arian mewn llaw i ateb i ofyniadau y swyddfäau.

Gobeithiwn mai ar ben yr hanner blwyddyn yma y bydd pob un yn deall ei waith, gan anfon y pethau gofynol yma: sef, Cynrychioliad *Blyn*yddol, Bal. Sheet y Degwm o Gorph. 1 hyd Rhagfyr 31; Enwau Cangenau a'r symiau o'r Degwm at lyfrau a greditwyd iddynt; a Bal. Sheets y prif Ddosparthwyr. Ni ddeil ein amynedd yn hir etto at y rhai sydd yn oedi anfon rhai o'r pethau a nodwyd. Cymmerer rhybydd.

---

LLYTHYRON O'R DYFFRYN mor ddiweddar a Mehefin 27 a gadarnhant y newydd fod y cnydau yn doreithiog rhyfeddol, a bod y ffarmwyr, yn ufydd i gynghor ein Prophwyd, yn darparu ystordai i gadw y gwenith, &c. dros saith mlynedd, tra y caffo y tir orphwys. a'r holl Saint ar effro yn darparu eu hunain i allu aros y dydd blin ag sydd *wrth y drws!* Enfyn y brodyr D. Jones. a T. Jeremy eu cofion caredicaf at y Saint Cymreig. mae y newyddion a gynnwysa eu llythyron wedi cael eu cyhoeddi eisioes.

CYRHAEDDODD yr Henuriaid Enoch Reese,(Cymro, o waedoliaeth – Americaniad wrth enedigaeth) Wm. P. Thomas, (gynt o Llanybydder,) a Richard G. Evans, gynt o Pembre, i'r swyddfa hon, ar genadiaeth o Utah i Gymru—y ddau flaenaaf ar y 5med, a'r olaf ar y 12fed o'r mis hwn, yn iach ac yn fywiog. Cawsant yr Indiaid yn gyfeillgar a brawdol ar hyd y ffordd; ond bygythient filwyr y Llywodraeth yn arw. Yr oedd y Talaethau yn un berw o gynnen ac amryson, fel y dengys y newyddiaduron Americanaidd, yr hyn sydd yn eglur ddangos fod rhagdraethiad y Prophwyd Joseph yn prysur ddyfod i ben. Y mae ein brodyr yn llawn o'r tân dwyfol, a'u llygaid yn agored i weled yr awyrgylch yn ymdduo, a'r ystorom yn casglu—dynion yn myned yn fwy gwaedlyd o hyd, a rhyfel ar bob ochr ymdorri allan, a llawer o'r Saint yn cysgu!

## CYWYDD.

*Anerch y Burdd i'w Frawd awenyddol &c., Nathan Ddu o Lywel.*

Mae Nathan Ddu'n gu ei gân,
A'i rywiog ber oroian?
Dystaw yw'r bardd a'i destun
Nychu ar ol ni cheir un.
O'th gell, ow, cyfod bellach,
Dyro bill o bennill bach;
O'th awen lawen rho log,
Yn fwynaidd o Dyfynog:
Mel yw gwen dy awen di—
Diwael medd awen Dewi.

'Cân y Gauaf' ni chafwyd,
Yn gweu llun y barug llwyd.
A'r 'Gwanwyn' hardd ei darddiad—
Y gwlydd yn glasu ein gwlad;
A llu'r briallu o'r bron—
Dwyread hardd ei doron.
Ac alon per aderyn,
Yn glod uwch irdwf y glyn·
A hithau'r falch fwyalchen
Yn dwyn mawl i'n bywiawl ben.
A'r fronfraith ar daith yn dyn,
A'i bregeth ar y brigyn.

Daeth y gog i deithio y gwydd—
I emyuu y manwydd.

Nycha, Haf, yn wych hefyd—
Holl anian a gân i gyd!
E giliodd y gog eilwaith,
Ei chan gu ni fu yn faith;
I'n rhan er hyn o anaf,
Gweina'n rhwydd in' 'Gân yr Haf;'
Dy gân di i ni, yn awr,
A drosa fwy o drysawr.
Mae'r ardd a'r maes mewn harddwch,
O dan drem y blodeu'n drwch!
Per gathlau sy'n gwau drwy'r gwydd,

A dail yn gwisgo'r dolydd.
Daeth mel ar wig bop brigyn;
A gwlith ar borfa y glyn.
Mae'r coedydd fyrdd yn wyrddion—
Arlwyad o rad yr Ion—
Darbodaeth creawdwr bydoedd,
Yn ffrwythlawn a gawn ar goedd

Yr Hâf a'i drefn sy'n cefnu—
Yn lle Haf—Cynhauaf cu.
Edrych, fe ddaeth yr Hydref!
I droi y cynnyrch i dref:
Y cnwd ar led a fedir,
Yn toi holl wyneb ein tir;
Y crwmawg awchus gryman,
A'r bladur a'u dir yn dân!
Lleurant mewn lliw araul,
Yn loyw draw dan belydr haul!
Y grawn oddiar y grŷnau,
Gwelir, a gesglir yn glau.

Diamheu—rhyfedd dymhor,
Ydyw hwn, mae dydd Duw Ior!
Daw dydd tal y dial du—
D'wrnod glanhau'r llawr dyrnu,
Y gwenith ga ei nithiaw,
A'i drin yn ddiogel draw—
Ewyllys Duw sy' felly—
A dwg y *gwenith* i'w dŷ;
A'r *us* oll erys allan—
Gwelir ei teflir i'r tân.
I gywir tron—rhagorfraint—
Byw'n dduwiol yn siriol Saint.

*Abertawy,* DEWI ELFED.

*Yn ateb i'r cywydd uchod llyma yn dilyn*

## CAN YR HAF,

(Gan Nathan Ddu o Lywel, yn awr o Dyfynog, Brycheiniog.)

Dynesodd tymhor Haf
Egluraf uwch y glyn;

Llwyr lawenychu a gaf,
  Am yr ymweliad hyn;
O ryfedd olwg hardd,
  Mae'r ddae'r fel gardd i gyd!
Ac araf awel 'hed trwy'r nen
  Uwchben chwareu-fwrdd byd!

Y fron doreithiog fras,
  Mewn urddas welaf nawr;
A'r cangau dau drwm ffrwyth,
  Yn crymu'n llwyth i'r llawr.
A gwedd pob bryn a dol,
  Dan gnwd toreithiol gaf;
Yn ymarddelwi treigliad tòn
  Dan ber awelon hâf.

Mor hoff yw boreu daith,
  Yn nghanol llenyrch llon;
Ceir gwrando *anthem* hâf,
  Yr adar braf o'r bron.
Mewn rhyfyg yn y gwydd,
  Y Fwyalch fydd heb bo'n;
Yn ucha'i lais ar gangau rhydd,
  Yn swynaw'r dydd â'i dôn.

Pan gwsg yr adar mân,
  'Nol dyfal gân y dydd;
Rhyw swynol beraidd sain,
  Yr Eos gain a rydd.
Un o genadon hâf,
  Yw'r deryn braf ei ryw;
Y cethlydd goreu yma a gawn,
  A'i dawn yw moli Duw.

Yr hen o'i fwth a rydd,
  Ei rodfa yn yr ardd;
A cha arfolliant rhydd,
  A'i ffrwythau'n ddiwahardd;
Er bod yn llwyd ei wawr,
  Ar lawr dan aml loes;
Danteithion hâf ar frigau'r gwydd,
  Wnant iddo newydd

I Ti, dirionaf Dad
Y bywyd, boed y mawl;
Trwy'r hôll fodoldeb mad,
Pob genau fo'n ddidawl,
Pob perchen einioes fo
'N cyduno yn y gân,
Trwy holl ororau daear gron.
A dyn a'i fron yn dân.

---

## NEWYDDDION O UTAH.

*Swyddfa y Llywydd: Dinas Ll. H. Mawr.*
*Mai* 29, 1857.

Y Brawd Orson Pratt, Liverpool.— Yr ydym hyd yn hyn heb lythyr gerbyd o'r dwyrain, oddia. pan ddygwyd un Tachwedd i mewn, ac nid oes genyf ddim oddiwrthych gyda y cerbyd Deheuol diweddaf. Gadawsom y ddinas hon ar ddydd Gwener, Ebrill 24, am y gogledd, a dychwelasom dydd Mawrth, Mai 26, pawb yn iach, a dim damwain, wedi teithio yn agos 800 milldir Gwelsom lawer o dir, ryw ychydig o hono yn ddaear fras, llawer o dir pori da. Eithr dywedwyd wrthym fod y ddaear frasaf "yn gorwedd yn mhellach fyth yn mlaen," yn Nhyffryn Chwerw-wraidd, ac yn y dyffrynoedd yn mhellach i'r dwyrain ac ar ddyfroedd penaethol y Missourri. Gwelsom ddigon i'n boddloni, pe byddem hyd yn hyn wedi bod yn anwybodus o'r ffaith, nad yw y byd eto wedi cael ei orboblogi. Y mae miloedd o erwau o dir gwrteithiol a phorawl lle y geill miloedd o'r tlodion gonest a diwyd, y rhai ydynt yn awr yn gaethiwus mewn gwneuthur-dai, a charcharau gwareiddiedig eraill, gynnal eu hunain, a ffynu fel gwenwyn diwyd cŵch Deseret, ac anadlu awyr bur a iachus, yn rhydd i wneuthur yr holl ddaioni a allont i'r hil ddynol, ac iddynt eu hunain.

Un gair yn ychwaneg yn nghylch y diwygiad sydd wedi dechreu yn mhlith y Saint yn Ewrop. Mae ufudd dod i'r Efeugyl ar y cyntaf yn dwyn heddwch a llawenydd. Maes o law daw yr oll gan rhai megys hen gân. Nid oes gan Henuriaid lleol ddim newydd na chynhyrfiol yn eu hannerchiadau yn fuan y deallant dipyn yn fwy nag a ddeallont yn yr eglwysi

sectarol; temtir hwy i feddwl eu bod yn deall y cyfan, collant yr ysbryd, ant yn ddiog yn eu cyrchfa i'r cyrddau, yn ddefoisiynol a difywyd yn eu gweddiau, yn aml anghofio yn hollol i gydnabod daioni a gallu Duw mewn diolch a mawl. Maes o law collant ysbryd ymgasglu, fel pe na feddent ef erioed, ac yn y diwedd syrthiant i gysgu mewn anffyddiaeth. Oddiyma yr angenrheidrwydd am ystyriaeth ddisymmwth—"Pa le yr ydwyf? Pa beth ydwyf? Pe beth yr ydwyf fi yn ei wneuthur? A ydwyf fi yn byw fy nghrefydd? A ydyw yr angylion daionus bob amser yn agos ataf yn gweini i mi? A wnaethym i gam a'm brawd mewn un dim? A ydwyf fi yn grediniol yn, ac ufudd i bob awdurdod o sefydliad cyfreithlon yn nheyrnas Duw? A ydwyf fi wedi cynyddu ffydd a gallu yn Nuw, ei ordinhadau, a chynnyddu ymddiried ynwyf fy hun, fy mrodyr a fy Nuw? Onid oes genyf un dim i edifarhau am dano, dim i ymwella neu ddiwygio? A ydwyf fi wedi dyfod yn berffaith, neu a ydyw fy nghwrs yn fythol gynnyddol?" Y rhai hyn a chant o gyffelyb ofyniadau cyffelyb a osodir gan y Sant i'w hunan ydynt wedi deffroi llawer, ac yn ddiddadl, a barhant i gynhyrfu y gwliadwrus, tra y byddo gan ddynoliaeth ei ffaeleddau, a thra b'o gelynion gweledig ac anweledig y deyrnas yn fyw ac yn meddu gallu i wrthwynebu. Y mae holl uffern yn awr ar effro i ddinystrio gwaith a theyrnas Duw yma, ac a ddichon ddyfod yn fwy felly mewn gwledydd tramor, cyn hir. Ac yn union fel y dechreuwn ymysgwyd i fyw ac adeiladu tŷ arall i ein Duw. Mae gelynion ei waith Ef yn ymysgwyd ac yn fwy bywiog er ein niweidiad a'n dinystr nag erioed. Eithr teimlwn ni i orfoleddu yn Nuw ein hiachawdwriaeth. Gwyddom mai ei waith Ef ydyw hwn, ac mai ei eiddo ydym ni, ac efe a droa ac a wyrdroa hyd oni chyflawnir ei amcanion, ac y sefydlir ei deyrnas i beidio cael ei thaflu i lawr byth mwy. Felly y bydded. Amen.

Y mae sefydliadau yn Beaver Creek. naw milltir yn ddwyreiniol i'r hen ddinas Bawneaidd. Hefyd ar wahanol fanau ar yr afon Platte ag a fyddant fanteisiol i'r ymfndwyr o Ewrop ogleddol, y rhai ydynt o angenrhaid yn cychwyn yn ddiweddar. Yr ydym yn planu gorsafau ar hyd y llinell oddiyma i'r Dwyrain, i'r llythyr-gerbyd a'r 'Express Carryiug Company.'

Eich didwyll gyfaill. a'ch

Brawd yn y Cyfammod Tragywyddol.

BRIGHAM YOUNG.

# YSGOL SABBOTHOL UTAH.

AR foreu dydd Gwener diweddaf, amryw finteioedd o Filwyr Traed a welid yn teithio allan o'r Ddinas hon gyda meinciau tua'r gogledd a'r dwyrain o'r ddinas i fynu i City Creek Kanyon, ac wrth ymholi i yr achos o'r fath droad anarferol allan, ac ymddangosiad y gyfran blentynaidd o'r werin, hysbyswyd ni mai y Cyntaf o Fai ydoedd, a bod Athrawon yr Ysgolion Sul yn yr amrywiol Ddosparthiadau (Wards), ynghyd a'u hysgolheigion, yn ol trefniant blaenorol, wedi troi allan am ymdaith, ar ddydd yn Mai, ac wedi hyn i ymgyfarfod yn y Tabernacl, am 2 p.m., ac i gael eu hanerch gan yr Henuriad Woodruff ac ereill. Ymddangosai pawb yn hoenus a bywiog wrth bassio heibio, ac yn ystod y rhan flaenaf o'r dydd tyrau o honynt a ellid eu gweled ar y llethru goruwch y ddinas, yn teithio a gwrthdeithio yn mhob cyfeiriad, gan ymbleseri eu hunain mewn campiau a difyrwch ieuengaidd.

Am 2 p.m. dychwelasant tua'r ddinas a chyweiriasant i'r Music Hall, lle y ffurfiwyd hwynt i linell gan Reolydd (Marshall) y dydd, R. A. Allred. a'i gynnorthwywyr, a chan gael eu blaenori gan y Brass Band, teithiasant i fynu heibio trigfan y Llywodraethwr, ac oddiyno i waered i'r Tabernacl.

Yr ymddangosiad a wnaethid wrth basio drwy yr ystrydoedd oedd yn hollol fuddiol—llawer o'r merched wedi eu gwisgo mewn gwŷn, ac wedi eu haddurno yn bert a thorchiau o flodeu a gwyrdd lysieu mewn amrywiol ddulliau; a'r bechgyn nid oeddynt wedi esgeuluso i addurno eu personau yn y dull mwyaf boddhaol iddynt hwy eu hunain, yr hyn, gyda y banerau gaffent eu cario gan bob un, a llawer o arwyddeiriau priodol arnynt a ychwanegai yn fawr at yr hyn yn amgeu a fyddai yn ymddangosiad buddiol o ddifyrwch ieuengaidd a diniwed.

CYNWYSIAD.



ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS, ABERTAWY.

# UDGORN SEION

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 18.] AWST 29, 1857. [ CYF. X.

## NEWYDDION O'R DYFFRYN.

(O'r *Millennial Star.*)

Swyddfa y Llywydd: Dinas Ll. H. Mawr,
*Mehefin* 30, 1857.

Yr Henuriaid Orson Pratt ac Ezra T. Benson.

Anwyl Frodyr.—Ar y 24ain o Ebrill y cychwynais ar fy nhaith fwriadol i Afon Salmon. Dychwelais i'r lle hwn Mai 26, ar ol bod yn absenol 32 diwrnod. Cawsom gwmniaeth fawr o 56 o wageni a cherbydau, a 142 o bersonau; eithr yn ystod yr holl ymdaith ni chlywais air sarug, na sylwi ar deimlad maleisus.

Ar y 29ain o'r mis diweddaf, fe gyrhaeddodd yr Henuriaid G. A. Smith, J. M. Bernhisel, a T. O. Angel mewn iechyd a hwyl da.

Mae llawer o welliadau yn cael eu gwneuthur yn y ddinas, ystrydoedd, ochr-lwybrau, cloddiau, adeiladau, &c. Y mae rhwng tri a phedwar cant o wŷr ar y gweithiau cyhoeddus, a 30 o weddeuau yn cludo y cerrig i mewn i'r Deml Er fod arian yn brin mae masnach yn fywiog, a phob peth yn ffynu gyda y bobl hyn, o herwydd eu diwydrwydd a'u ffyddlondeb adnewyddol.

Ymddengys ein dinas fel pe byddai wedi cymmeryd chwydfeddiginiaeth, a chwydu allan wrthgilwyr, swyddogach, ac mewn ffaith yr holl fudreddi ag oedd yn ein llwytho i lawr. Ni fu yr argoelion erioed yn well am gynhauaf cyflawn na'r

presenol. Y mae yn awr fwy o ŷd, ac mae bwyd yn rhatach nac y bu felly erioed yn y tymhor yma o'r flwyddyn.

Mae yr *Express Company* yn llwyddo yn wych. Anfonais A. O. Smoot ac N. V. Jones i sefydlu sefydliad parhaus yn y bryniau duon; mae ganddynt 80 o wŷr gyda hwynt, a'm bwriad yw eu diwallu a digon o luniaeth i alluogi amrai gannoedd o bersonau i auafu yno, yn y dygwyddiad o'r fath achlysur annocheladwy a ddygwyddodd yr hydref diweddaf. Deallaf oddiwrth y br. Haight, o Swydd Haiarn, fod y cnydau cotton ac indigo yn ymddangos yn dda ar y Rio Virgin.

Y llythyr gerbyd, a flaenorwyd gan Little, a gyrhaeddodd am dri o'r gloch, y 23ain, 22 diwrnod a 3 awr o Independance.

Wrth y *St. Louis Republican* drwg iawn genyf ddeall am gynllwyn lofruddiad y brawd Parley gan y dyhiryn McLean; aeth un dyn da arall i gynorthwyo y brodyr Joseph, Hyrum, a Jedidiah mewn cylch arall. Cysured a chyfnerthed Duw chwychwi yn eich cystuddiau, frawd Orson.

Y rhagfarn yn ein herbyn, ag sydd genych ei gyfarfod, frodyr, nid yw amgen nag a allwn ddysgwyl, y diafol yn erbyn Crist ydyw; a gwybyddwch yn sicr y cria y diafol bob amser ag y byddo y Saint yn ffyddlon.

Mi a anfonais aml nifer o genhadon i'r Taleithiau ag Ewrop; gadawsant y lle hwn Ebrill 23ain gyda llaw-geirt, ac oddiwrth yr hanesion diweddaf yr oeddynt yn gwneuthur gwell amser nag un cwmpeini ar yr heol.

Frodyr, arhosed bendithion Crist gyda chwi yn barhaus.

BRIGHAM YOUNG.

---

SWYDDFA YR HANESYDD,

Dinas Llyn Halen Mawr,

Gorphenaf 1, 1857.

Gol. y "Millennial Star."

Anwyl Frawd.—Cyrhaeddodd y llythyr-gerbyd dwyreiniol o'r Unol Daleithiau ar y 23ain *ultimo* yn ngofal y brawd Ephraim K. Hanks 23 diwrnod o Independance, un o'r ymdeithiad au byraf yn gofnodedig.

Cyrhaeddodd yr Henuriaid Amasa Lyman a Charles C. Rich o San Bernardino, y blaenaf a chanddo lythyr gerbyd Califfornia, Mehefin 3, yr olaf ar yr 8fed, gyda chwmpeini bychan o

Saint; yn ddilynol cyrhaeddodd cwmpeini bychan arall o San Bernardino, y rhai a ddygasant gyda hwynt *seven stopped organ* a gyfranwyd i'r Eglwys gan y Saint Awstralaidd; yr hwn sydd yn cael ei osod i fyny yn y Tabernacl yn yr ochr ogleddol, gan y brawd Joseph Ridges, yr hwn a'i adeiladodd yn Awstralia. Aeth y Llywyddion Young, Kimbal, a Wells; a'r Henuriaid George A. Smith, A Lyman, ac eraill i mewn ar y Sabboth diweddaf, a chlywsant y brodyr Ridges, ac Orson Pratt, Ieu., yn chwareu ar yr organ, am yr hyn mynegaant eu mawr gymmeradwyaeth. Y mae yn ychwanegiad gwerthfawr at ein côr.

Mae yr Henuriad George A. Smith wedi ymweled a Swydd Utah ar ol ei gyrhaeddiad, a chaffael pobl Provo mewn iechyd a hwyl da; gydag argoelion rhagorol am ŷd y tymhor hwn. Ymbresenolodd mewn cyfarfod Ysgol Sabbothol gyda 300 o ysgolheigion, a phregethodd i gynnulleidfa o tua thair mil o Saint yn y Bowery.

Trwy gyrhaeddiad y cerbyd mis Mai, deallasom am gynhyrfiad y wasg gyhoeddus yn yr Unol Daleithiau, mewn perthynas i Utah, eu Llywodraethwr, a'r Saint. Ni welsom ar unrhyw amser blaenorol deimlad chwerw mwy cyffredinol yn erbyn "Mormoniaeth" nag ar yr amser presennol. Y Llywydd Young, gan feddwl na chymmerai wenyn gweithiol amser i ddarllen yr hyn a ddywed y wasg gyhoeddus am danynt hwy a'i hunan; neillduodd y Sabbath, Mehefin 14, am 8 a.m., er i rhai o'r erthyglau mwyaf ffyrnig gael eu darllen i'r Saint yn y ddinas hon a'r cylchoedd, a mynodd ddau o'n darllenwyr goreu i'r perwyl, y rhai a ddarllenasant yn mhob yn ail o 8 hyd yn agos canol dydd, y sothach gwael ag y roddodd wasg lygredig y Taleithiau Unol enedigaeth iddo. Yr oedd, yn wir, yn hynod modd bynnag, i glywed y Llywodraethwr yn cynnyg i'r fath erthyglau gael eu darllen; wrth weled eu bod gan amlaf yn cael eu hannelu at ei gymmeriad cyhoeddus a dirgel, dengys hyn modd bynag, ddim ond y cydwybodolrwydd a fedd o gywirdeb y llwybr a droedia, a'r ymddyried sydd ganddo yn y bobl a arweinia.

Mehefin 16eg — Ail ddechreuodd gweddeuau i gludo meini at weithrediadau y Deml, gan fod gweithrediadau yn y dosparth hono wedi ymattal dros ychydig o ddyddiau, o herwydd

i'r Eglwys werthi amrai o'i hanifeiliaid er dileu rhwymedigaethau Eglwysig; eithr y Saint, wrth gael y fraint o droi i mewn anifeiliaid i gynnorthwyo i ddileu y rhwymedigaethau hyn, a gyfranasant mor haelionus, fel nad aeth nemawr dyddiau heibio cyn fod gan yr Eglwys gynnifer o anifeiliaid ag o'r blaen; ac nid oes neb o'r rhai a gyfranasant wedi cael e rhwystro yn eu busnes, nac wedi teimlo ddim yn dlotach yn herwydd eu haelioni; ac felly mae y Saint wedi arddangos i Dduw ac i'w weision fod ysbryd y Diwygiad yn byw yn eu mynwesau, ac yn dwyn ffrwyth yn eu bywydau, ac am hyny y mae y Llywydd Young yn aml yn ddiweddar wedi dywedyd fod y rhai hyn yn "bobl bendithiedig gan Dduw."

Y mae yn amser cyffredinol o iechyd, heddwch, a digonedd trwy y diriogaeth hon.

Fy nghariad i'r brawd Benson, ag holl henuriaid fy nghydnabyddiaeth sydd gyda chwi.

Yr eiddoch, yn ddiledrith,

WILFORD WOODRUFF.

---

## ARGOELION CAETH-FASNACHOL YN YR UNOL DALAETHAU.

DYWED y *Rising Sun*, cyhoeddiad yn Newburg, Carolina Ddeheuol; mewn perthynas i arwyddion yr amserau yn yr awyrgylch wladwriaethol:—"Cymmylau a thywyllwch, cymmylau bygythiol, tywyllwch daroganol, ymgasglu maent o gylch ein mynedol gwladwriaethol. Du nos ofnadwy sydd yn ymdaenu drosom. Nofiwn yn bwyllog a dystaw i weilgi o ystormydd, corwyntoedd ffyrnig, tywod byw, a chwyrnbyllau hyll. Dystawrwydd dyfrifol sydd yn teynu—rhagflaeniad erchyll dymhestl ydyw, Clywch! ddadwrdd mwngialaidd pell daranau yn torri y costeg. Mellt diflanol ddatguddiant y trymder tywyll. Trymaidd ac oeraidd yw yr awyr caddugawl. Agoshau y mae y dymhestl—yn nes nes dyfod mae—yn groch a mwy croch yr uda. Ymeflwch yn yr hwyliau—pob llaw i'w lle. Dysgwylia'r De' i bob dyn wneyd ei ddyledswydd. Einioes a dyledswydd, anrhydedd a rhyddid yn oblygedig sydd. Yn gadarn b'o pob calon—diysgog boed pob gewyn. Yr ymdrech

mor boethwyllt fydd a ddichon maleisus lid ei gwneuthur. Safwch yn gadarn. Clywch! pa drwst oedd hwna? Kansas sydd wedi myned! Gwrandewch! crochfloedd fuddygol ysbrydion yr ystorom. Mae Missouri'n rhoi ffordd. Mor ffyrnig y chwythiadau, mor bruddaidd y lluched! Udiadau echrydus—hyll floeddiau rhwygant ein clustiau. Ymosodir ar Virginia. Trymaidd, tywyll, ofnadwy ydyw udiad y dymhestl! Gwyliedydd, pa beth am y nos? Dim ond tywyllwch—dim wawr yn tori.

Cyhoedda y *New York Herald* fod y milwyr a attaliwyd ar eu ffordd, i ail gychwyn tua Fort Leavenworth neu Laramie yn barotoadol i'w taith i Utah.

Difyna o'r hanes am y tir fesurydd Burr, yr hwn a anfonwyd gan y Llywodraeth i gyflawnu y swydd hono yn Utah, lle y bu yn anghyfiawn yn ei gyfrifon. Dynoethwyd ef gan rhai o'r Saint ag oeddynt yn gweithio iddo. Dynion o fath Burr a Drummond sydd yn ceisio niweidio y diniwed, a chelu eu hanghyfiawnder a'u drygioni eu hunain.

Cydnebydd yr *Herald* hefyd fynegiad Mrs. Babbit mai gan yr Indiaid, ac nid gan y Saint y lladdwyd ei gwr.

---

Kansas sydd o hyd yn yr un cyflwr cyffrous. Mae y llywodraeth wedi cymmeradwyo ymddygiad y Llywodraethwr Walker, a'i gyfarwyddo i weini y cyfreithiau a chadw heddwch â blaen y bidawg os bydd rhaid.

---

Nid yw y Llywodraethwr Cummings yn sicr pa bryd y cychwyna tuag Utah. Dichon yr attelir ef etto am beth amser. Ymddengys nad yw y Llywodraethwr na'r milwyr yn ystyried y daw y gauaf ar eu gwarthaf.

---

Minnesota sydd yn ofnus o fygythiadau yr Indiaid, ac yn cynnyddu y milwyr.

Dygwyddodd terfysg rheilffordd yn agos i Baltimore, yn nechreu Mai. Galwyd y meiwyr allan, a lladdwyd a chlwyfwyd amrai o'r terfysgwyr.

---

Spring Freshets oeddynt wedi gwneuthur cryn niwed mewn rhanau o'r Talaethau Dwyreiniol, Canol, a Deheuol.

# YMFUDO.
(O'r *Star.*)

Y mae, ar droion, Saint yn ymfudo yn sengl neu yn deuluoedd ar iongau gydag ymfudwyr nad ydynt yn proffesu ffydd yr Efengyl, eithr ag ydynt yn wrthwynebol iddi mewn ysbryd ac ymarferiad. Apelir atom gan y fath rhai o bryd i bryd gan ofyn i ni fynu cludiad iddynt o'r porthladd hwn; deallwn hefyd am eraill ag ydynt yn myned ymaith heb ein hysbysu oll; ac mae rhai, fel yr arweinir ni i gredu, yn ymfudo o byrthlaidd eraill heb ymofyn ag undyn ynghylch y cam a fyddont yn myned i gymmeryd.

Mae y Saint wedi cael eu haml gynghori i beidio ymfudo yn unigol, neu yn gwmnioedd bychain, yn mhlith y Cenedloedd Eithr ymddengys yn angenrheidiol eto i dynu sylw at y pwnc hwn, a dymunwn i Fugeiliaid, Llywyddion Cynnadleddau, Llywyddion Cangenau, a phob Henuriaid, i adgoffa y Saint o bryd i bryd o'u dyledswydd mewn perthynas i'r mater yma.

Annichonadwy i ni ydyw enwi yr holl fanteision sydd yn deilliaw trwy fod y Saint yn myned gyda eu gilydd, neu yr holl anfanteision o fyned yn gwmnioedd ymraniadol; eithr enwn rhai o'r mwyaf hynod. Mae pob cwmpeini o Saint ar fwrdd llong yn cael eu hollol gorffori er cyflawni y dyledswyddau rwymedig arnynt fel Saint a chyd deithwyr, a llywyddir hwynt gan Henuriad profedig yn Israel, ynghyd a dau Gynghorydd, apwyntiedig genym ni. Gyda y trefniadau hyn cynnelir gweddi yn ngwahanol ddosbarthiadau y llong foreu a hwyr. Cynnelir cyfarfodydd cymdeithasol dair neu bedair gwaith yr wythnos, a'r gwasanaethau cysson ar y Sul. Cedwir gwyliadwriaeth gan y brodyr apwyntiedig i fod yn wylwyr, i rhwystro drygioni yn mhlith y rhai drwg dueddog, os bydd y fath rhai; ac i rhwystro yr hyn sydd rhy gyffredin ar longau eraill, sef, ymwthiad y morwyr i lefydd na pherthynant iddynt. Sefydlir trefniadau hefyd o dan y corfforiad hwn er dyddiol lanhad deck yr ymfudwyr—trwy yr hyn y cedwir iechyd ac y rhwystrir y clefyd a gyfyd oherwydd aflendid. Y trefniadau coginiaw, peth pwysig mewn cwmpeini mawr o ymfudwyr, ac yn nghylch yr hwn y mae cymaint o anfoddlonrwydd yn bod ar bob llongau eraill, ydynt wedi eu gwneuthur

fel ag i osod pawb yn gydgyfranogion, ac i enill boddlonrwydd cyffredinol.

Mor wahanol y mae yr holl bethau hyn ar longau eraill. Canlyniad pethau yn y dull yma ydyw—y cadbeniaid ag ydynt wedi cludo cwmnioedd o Saint dros y môr a ddywedant mai gwell ganddynt eu cludo hwy na neb eraill. Mae Cadbeniaid, meddygon, a swyddogion eraill ar fwrdd ein llongau ni wedi roddi tystiolaeth ar ol dystiolaeth am rhagoroldeb ein hymfudwyr ni dros bawb eraill ag y croesasant y môr gyda hwynt erioed. Mae cofnodwyr newyddiaduron ag ydynt wedi ymweled a chwmnioedd o Saint ar eu cyrhaeddiad i Gaerefrog Newydd, Philadelphia, a Boston, wedi bod yn analluog i attal eu mynegiadau o syndod a chanmoliaeth wrth y glendid, cysur, trefn, ac heddwch a arddangosir yn mhlith ein hymfudwyr—gan dynu gwrth-ddarluniadau rhyngddynt hwy ac eraill ag oeddynt ffafriol iawn i'n pobl ni.

Ar longau eraill ni fodola y fath gorfforiad—ni chydgynnygir gweddiau dros heddwch, bendith, ac amddiffyniaeth yr Hwn sydd yn llywodraethu y gwyntoedd a'r tònau—ni weithredir ffydd ynddo Ef. Nid yw ysbryd gweddi yno. Efe yr hwn a alwai ar ei Dduw yn Ddaniel debyg, ddwy neu dair gwaith y dydd, yno, a wawdid, a erlidid, ac a watwerid. Eithr yr hwn a dyngai, a gablai, ac a draethai iaith llygredd y crochaf, a ystyrid y dyn "mwyaf" ar y bwrdd. Pa faint o fendith Duw a ellir gael dan y fath amgylchiadau? Pa faint o ffydd a ellir ddysgwyl i unrhyw Sant weithredu ar y fath long? Nid oes wasanaethau Sabbothol, dim addoli yno. Ni osodir gwyliadwriaeth yno i attal ymddygiad anfoesol, neu draws-ymyraeth y morwyr, y rhai, yn y llinell Americanaidd Ogleddol, ydynt hynod am en hanfoesoldeb. Mae rhan fawr o'r ymfudwyr yn aml ar ormod o gyfartaledd gyda y llongwyr. Ni wneir unrhyw drefniadau yn mhlith yr ymfudwyr i gadw glendid cyffredinol, neu i hyd y nod drefnu y dosparth goginiawl fel ag i roddi i bawb gyfartal freintiau, eithr wrth y *cooking galley* y cryfaf a'r garwaf a gant eu rhan yn gyntaf ac yn oreu, tra mai anaml y dysgwylir at goginiaw i'r gwan a'r tawel.

Y rhai hyn nid ydynt ond ychydig allan o lawer o fanteision a sicrha y Saint wrth fyned yn gwmnioedd yw y rhai hyn. Gwneir cam yn gyffredin ag ymfudwyr cyn y cychwynont ac

wedi y cyrhaeddont, ond yn fwyaf neillduol ar ol eu cyrhaeddiad, lle y gwna *sharpers* mewn cyflawnder, gan ddeall fod y bobl yn tirio mewn gwlad ddyeithr, a'u bod gan amlaf yn anmhrofiadol, ddefnyddio eu dyfeisiadau cyfrwys i'w twyllo, eu hudo, a'u hyspeilio.

Eithr wrth ymadael a thirio mae gan y Saint y rhai hyny yn dysgwyl at eu busnes ag ydynt yn teimlo dyddordeb yn eu lleshad, ac a'u cyfeiriant er eu lleshad penaf. Sylwa gofnodydd, yr hwn a ymbresenolodd ar gyrhaeddiad ein llong ddiweddaf, y "Tuscarora," ar y ffaith fod gan y Mormoniaid oruchwylwyr yn aros eu cyrhaeddiad i'w cadw rhag y 'sharpers,' siomedigaeth pa rhai wrth weled eu bwriadol ysglyfaeth yn myned heibio iddynt sydd yn cael ei ddangos wrth watwar eu proffes grefyddol.

Tra, yn ystod y cofnod oddiar dechreuad ymfudiad y Saint hyd yn awr, mae llawer o anhapion, llong-ddrylliadau, a llawer o golli bywyd wedi cymeryd lle ar longau eraill, mae yr Arglwydd wedi arddel ei bobl mor belled ag i'w cadw yn hollol rhag un o'r galanastra hyn; ystyriaeth o'r hyn sydd annogaeth arall i'r Saint fyned adref yn y ffordd hono a bwyntiodd EFE allan, yn arddeledig, a bendithiedig. Yn ngwyneb yr holl rhai hyn, a materion pwysig eraill, cynghorwn y Saint etto i beidio ag ymfudaw gydag unrhyw longau ond a logir genym ni, y rhai ni chludant ond ein hymfudwyr ni. Bydded i'r rhai a deimlant eu hunain yn y fath ddirfawr frys i fyned ymaith, fel y meddyliant nad allant aros am ein llong nesaf, ymholi eu hunain os ydyw yr Arglwydd yn gofyn iddynt fod mor frysiog, a pha un a allont ymddibynu ar ei fendith i'w dilyn tra yr elont allan o'r iawn gyfrwng, a darostwng eu hunain i gynnifer o ddrygau a phrofedigaethau.. Os meddyliant o hyd fod yn rhaid iddynt fyned, ymgynghorant â'u Bugail neu eu Llywydd ar y pwnc, gan hysbysu iddo ef eu hamgylchiadau, a dilyn ei gynghor. Wrth bawb o'r fath ag yr ystyrir felly yn angenrheidiol i'w mhudo, mae genym i ddywedyd y gallwn ni ymdrefnu yma am eu cludiad yn well nag y galiant hwy wneuthur trwy un tŷ Lerpwll arall, ac os cýfathrachant â ni trwy eu Llywydd, nyni a sicrhawn gludiad iddynt

Yr ydym ni yn cadw cyfres o enwau yr holl Saint ag ydynt yn gadael Ynysoedd Prydain o fewn ein gwybodaeth, a dymun

wn gael enwau pawb. Ni ddylai neb gan hyny ymfudaw trwy 1un ffordd heb ein hysbysu ni o ddyddiad eu mynediad, gyda pha ong, ac o ba borthladd. Ac eto dywedwn, ni ddylai un ymfudaw yn amgen na thrwy gyfrwng cyson ymfudiad y Saint heb gynghor neu gymeradwyaeth Llywydd ei Gynnadledd.

Fe anfonir llong mor gynted ag y caffom nifer ddigonol o apeliadau. Bydded i'r rhai a ddymunant ymfudaw anfon eu henwau a'u blaen-daliadau mor gynted ag y bo modd. Ni ddylai y rhai ag sydd ganddynt y modd i ymfudaw oedi i'w hanfon hyd oni fyddont yn gwybod fod genym long wrth law, eithr dylent anfon, o leiaf, eu henwau a'u hoedranau, mor gynted ag y gwybuant eu bod yn alluogi ymfudaw. Pe dygwyddai amgylchiadau eu hattal rhag myned, a gofyn dychweliad o'u blaendal—gallant ei gael unrhyw amser wrth ysgrifenu atom ni. Wrth logi llong arweinir ni gan nifer yr appeliadau ar ein llythrau. Ni allwn ddweyd yn gywir pa bryd yr hwylia llong hyd oni logir un, neu y byddo nifer digonol o appeliadau i'n gwarantu mewn llogi un. Danfonwn ein rhagnodiadau mor gynted ag y gwneir y llogiad, yr hyn sydd yn gyffredin tua thair wythnos cyn hwylio y llong. Dyry hyny i bob un amser digonol i wneyd eu trefniadau.

Gan fod amryw bleidiau yn gorfod, yn groes i'w dymuniadau eu hunain, i ymfudo gyda llongau eraill, trwy fod eu cyfeillion yn y Taleithiau Unol yn ymdrefnu gyda thai eraill am eu cludiad, cynghorwn bawb ag sydd ganddynt gyfeillion yn y Taleithiau ar ba rhai y dibynant i anfon am danynt, i ofyn iddynt wneuthur felly trwy swyddfa y *Mormon* yn Nghaerefrog Newydd. Fe dderbynia yr Henuriad Appleby ariar cludiad ar gyfrif pleidiau i ymfudo o'r wlad hon, a'i hyfforddiadau ef yn eu ffafr a gaiff sylw dioed.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, AWST 29, 1857.

CYFARWYDDIADAU.—Dyry y Llywydd Orson Pratt yr hyfforddiau pwysig canlynol yn nghylch

"DEGWM.—Wrth edrych cyfrifon arianol amryw Gynnadleddau am yr hanner blwyddyn fynedol, sylwn nad oes nemawr drefn, ac yn amlwg ddiffyg mawr o gynnildeb a phwyll yn arddangosedig yn nhreuliad arian y degwm; a blinir ni

wrth ddeall fod yn amlwg, mewn gormod o enghreifftiau, gwastraff dibris a chamddefnydd o hono wedi bod. Drwg yw hwn sydd rhaid ei gywiro, nen ni chyrhaeddir yr amcan i'r hwn y sefydlwyd y degwm.

Bwriedir degwm er adeiladiad y Deml, ac er lledaeniad yr Efengyl, ac nid er hunan-les personau.

Mae symiau mawrion ynawr yn ddyledus oddiwrth amrai o'r Cynnadleddau at gyfrifon y Deml a'r Drysorfa Ymfudol barhaus, y rhai a ddylasent fod wedi cael eu talu er's hir amser. Mae rhanau mawr o'r symiau hyn wedi cael eu llyncu i fyny yn nhreuliadau gwastraffus 'Tai Cynnadleddol,' 'Henuriaid Ymweliadol.' a 'Chynnorthwy i'r Tlodion,' &c, fel ein hysbysir, mewn rhai enghreifftiau, yn ymfudiad rhai personau o'r wlad hon i'r America.

Yr ydym, eisioes, mewn rhifyn blaenorol, wedi galw sylw Bugeiliaid a Llywyddion at y pwnc o Dai Cynnadleddol, ac wedi cyfarwyddo iddynt beidio cael bodoli ond mor lleied ag sydd yn bosibl.

Ystyriwn yn ddoethineb, hefyd, i ryw raddau, i gyfyngu treuliadau henuriaid ymweliadol, ac fod pawb o'r henuriaid hyny ag sydd a maesydd llafur neillduol wedi cael eu pennodu iddynt, megis Bugeiliaid, Llywyddion, ac Henuriaid Teithiol i dalu eu treuliadau eu hunain, pa bryd bynnag y gadawont eu maesydd llafur, ac yr ymwelont a llefydd eraill, yr un fath a phe byddent yn teithio gartref, gyda rhai eithriadau, y rhai sydd wedi, ac a gant eu hysbysu i Fugeiliaid a Llywyddion fel y gofyno yr achlysur. Meddyliwn y lleiha hyn lawer ar yr enghraifft hon o gost, a symuda, feallai un cymhelliad i amledd y fath ymweliadau.

Dylai Bugeiliaid a Llywyddion fod yn neillduol ofalus na thwyllir hwynt gan bersonau a ymunant â'r Eglwys, fwy er mwyn cael cynnorthwy bydol nac o gariad pur at y gwirionedd, fel y mae wedi dygwydd mewn rhai enghreifftiau.

Ni roddasom ni erioed yr hawl neu yr awdurdod i ddefnyddio neu i orchymyn y defnyddiad o ddegwm neu drysorfa Eglwysig arall er mudiad unrhyw berson o'r wlad hon.

Nid oes gan un person hawl i orchymyn neu gyfeirio defyddial arian y degwm yn y genadiaeth Ewropaidd, oddieithr

Llywydd y genadiaeth hono, ddim ond fel y caffont yr hawl neu yr awdurdod oddiwrtho ef. Awdurdodir Bugeiliaid a Llywyddion i dalu rhai treuliadau angenrheidiol ac anocheladwy, megis rentydd capeli, goleuui, &c., yn yr hyn oll, ddylid defnyddio y cynnildeb manylaf, a chadw gwyliadwriaeth ofalus dros y costau hyn, fel nad ymlusgo gwastraff hepgorol i mewn mewn trefn i sicrhau cyrhaeddiad yr amcan hwn yn fwy effeithiol, gofynwn i'r CYFRIFON ARIANOL gael eu hanfon i ni o hyn allan yn *Chwarterol*, ar y cyntaf o Ionawr, Ebrill, Gorphenaf, Hydref, a Rhagfyr.

Wrth drafod y drysorfa hon dylid cadw mewn cof o hyd ma DEGWM ydyw, a bod yr Arglwydd wedi gorchymyn iddo gael ei dalu i mewn i'w Drysorfa Ef, er hwyluso ei waith, a bod pwy bynnag a'i gwastraffo neu ei droi o'i iawn le yn ei yspeilio EF."

Ni ychwanegwn ar, esbonio, na gwneuthur sylwadau ar yr uchod o eiddo ein Llywydd; eithr llyma y ddysgeidiaeth fel y mae yn y *Star*. Rhag y bydd ychwaneg o gamsynied, dywedwn yn gydsyniol ag hyfforddiadau y Llywydd Pratt trwy lythyr i ni, nad oes i un degwm-daliedydd, o hyn allan, gael un llyfr allan o'r degwm; eithr fod y llyfrau i gael eu *prynu*,

Taer ddymunwn ar Lywyddion ddeall pob iot o'r cyfarwyddiadau uchod, a defnyddio y doethineb mwyaf. o dan ddylanwad yr Ysbryd Santaidd, i'w cario i weithrediad yn fuan ac effeithiol—*i'r llythyren*

Ar ddechreu y gyfrol bresennol o'r *Udgorn*, rhoddasom y rhyddid iddynt erchi y nifer a ofynid o hono, fel na feichid y Cynnadleddau; ar yr un pryd, am iddynt annog pawb i'w dderbyn, fel nad esgeulusid un lle a: y gallai fyned iddo Oddiar hyny mae y Diwygiad ac ymfudiadau wedi gwneuthur effaith; am hyny, dymunwn i chwi etto i ddefnyddio eich dylanwad i gael gan bawb a alloch i'w dderbyn, er mwyn eu hunan les, ac nid o herwydd fod gronyn o wahaniaeth genym ni gyda golwg elwol, eithr fel y meithriner ysbryd Seion yn eu mynwesau.

Bydded i'r rhai a ofynant gyfnewidiad yn rhifedi y sypyn nesaf anfon eirchiau newyddion o bellaf erbyn yr ail o Fedi, neu ni allwn gyflawnu yr eirchiadau hyd oni ddelo Rhifyn 20 allan.

Cofier na fydd yn ddichonadwy i ganiatau i bersonau gael

eu llyfrau ar goel, ac os bydd is-ddosparthwyr yn dewis rhoddi coel hyd ddydd y tal, &c., ar eu cyfrifoldeb eu hunain y bydd. Nyni a alwn Lywyddion Cynnadleddau i gyfrif pan fyddo y tal yn llai na gwerth y llyfrau, a gallant hwythau ymholi yn mhellach.

Mae y tal am gyfres newydd traethodau Pratt i ddyfod allan o'r degwm. Dywedwn ychwaneg am hyn etto.

O herwydd aml achwyniadau o rhai parthau "nad yw yr *Udgorn* yn cyrhaedd yn brydlon," cynnygiwn wneuthur cymmwynas a'r dosparthwyr, h. y., os danfonant ddigon o *stamps* i ni, nyni a gyfeiriwn eu llyfrau oddiyma gyda y *post* i'r holl gangenau, yn ol y cyfeiriadau a ysgrifenant. Cludir naw neu ddeg copi o'r *Udgorn* am geiniog.

---

Y DRYSORFA YMFUDOL BERSONOL NEU GEINIOGOL.—Dywed y Llywydd Pratt mal y canlyn:—

"Mae camddealltwriaeth mawr wedi bodoli gyda rhai mewn perthynas i'r drysorfa hon. Ymddangosant eu bod wedi ei hystyried i fod yn gydradd gyda, ac yn agored i gael ei defnyddio megis trysorfeydd eglwysig neu ddegymol. Mae eraill fel y deallwn wedi ei defnyddio neu ei gwastraffu, gan fwriadu ei hadosod allan o'r degwm. Mae hyny yn anghywir. Nid oes gan unrhyw berson un hawl i ddefnyddio un geiniog o'r drysorfa hon at unrhyw ddyben na than unrhyw amgylchiadau yn y byd. Y mae yn drysorfa bersonol, wedi ei chreu at ddyben penodol, ac er lleshad y cyfranwyr, ac wedi ei thalu drosodd ganddynt hwy i drysorwyr, neu oruchwylwyr, o'u dewisiad eu hunain, ag a ellid ei mynu yn ol unrhyw amser.

Ni chynghorasom, ac ni chynghorwn yn bendant nac yn awgrymiadol, neu oddef defnyddiad yr arian hyn, mewn unrhyw ddull modd bynnag; ac os ydyw y trysorfeydd hyn yn cael eu defnyddio, ni ellir eu gwneyd i fyny allan o'r degwm.

Yn gymmaint ag na chynghorasom y Saint erioed trwy y *Star* mewn perthynas i'r mater yma dymunwn fod dealltwriateh bennodol na fydd i'r Swyddfa hon na'r degwm gael eu dal yn gyfrifol am unrhyw ddiffygiadau o eiddo y goruchwylwyr neu y trysorwyr hyn. Bydd y Swyddfa hon yn gyfrifol am yr oll a osodir yma, a hyny yn unig. Rhaid i'r bobl eu hunain gy-

meryd pob cyfrifoldeb a sefyll pob colledion a allont gyfodi o ddiofalwch neu anonestrwydd eu trysorwyr.

Etto, cymhellir ni i ddweyd fod yr egwyddor yn un dda, a phe ei dygid i weithrediad yn gyfiawn, terfynai mewn llawer o ddaioni i'r rhai sydd yn ymwneyd a hi. Ond y mae y Saint wedi cael eu cam-drin a'u hysbeilio mor aml gan ddynion diegwyddor a bwriadol, trwy amrywiol gynllwynau, megys trafodaeth y "Joint Stock," ac eraill, fel yr ydym yn ofnus y dichon iddynt gael eu hysbeilio etto trwy weithrediad y drysorfa hon, gan rhai o'n goruchwylwyr, oddieithr i'r rhagofal mwyaf gael ei ddefnyddio mewn mynu cadwraeth ddyogel a throsglwyddiad ffyddlon yr arian.

Oddieithr fod y Saint yn teimlo yn hollol ddiogel i osod eu mân gyfraniadau yn nwylaw eu goruchwylwyr eu hunain, byddai yn llawer gwell iddynt i'w cadw yn eu dwylaw eu hunain; ac wedi hyny, os annoeth wastreffir y trysorfeydd hyn, ni allant feio neb ond eu hunain. Dymunwn fod dealltwriaeth eglur nad ydym yn cynghori un o fewn y genadiaeth Frytanaidd i osod ei Drysorfa Ymfudol fechan gydag unrhyw berson o fewn y tir, heb gyflawn a digonol sicrwydd o'i ddiogelwch. Y mae yn weddus ac yn iawn i bob person sydd a'r amheuaeth leiaf yn nghylch cadwraeth ddiogel ei drysorfa yn nwylaw goruchwyliwr, idd ei chadw ei hun, hyd oni phentyro £1, yna os bydd yn teimlo, gall ei throsglwyddo yn uniongyrchol i'r Swyddfa hon, ac fe ddychwelir dangoseg o'r swm iddo.

Feallai y dywed rhai o'r Saint, os ymgymmerrant i gadw y Drysorfa yn eu meddiant eu hunain, y byddant yn o debyg o'i gwastraffu ymaith. Wrth y fath rhai atebem, os nad oes ganddynt ddigon o sefydlawgrwydd i gadw Trysorfa o gymmaint bwys, y mae yn lled debyg nad oes ganddynt ddigon o sefydlawgrwydd i gadw y ffydd yn yr achlysur o fod eu goruchwylwyr yn gwastraffu y Drysorfa. Tybiwch y troai rhai o'ch goruchwylwyr yn ddynion anghyfiawn, pa fodd yr ad-ddiwellir chwi am eich colledion? Oni phrofid chwi? Oni chondemniech chwi eich hunain am feddu mwy o ymddiried mewn goruchwyliwr anghyfrifol nag yn eich sefydlawgrwydd eich hunain? Yr ydym ni wedi newydd ddeall fod ugeiniau o bunnoedd o'r Drysorfa hon wedi cael eu defnyddio eisioes yn anghyfiawn. Oni ddylech chwi edrych ar ol pethau o'r fath hyn? Neu

orweddwch chwi lawr i gysgu a gadael i'ch goruchwylwyr eich hunain eich hocedu allan o'ch ennill caled? Da ddywed yr Iachawdwr, fod "plant y byd hwn yn ddoethach yn eu cenedlaeth na phlant y goleuni." Dylai plant y goleuni fod yn ddoethach yn mhob peth na'r byd; eithr ymddengys fod y Saint yn aml yn rhy ddibris yn eu gorchwylion busnesol. Oherwydd eu bod hwy eu hunain yn onest, tybiant fod pawb a gariant yr enw Saint yn onest hefyd; mae hyn yn mhell o fod felly. Am hyny ni ddylech ymddyried eich trysorfeydd, ond lle y byddo genych ymddyried hollol. Yn hytrach na chael eich hysbeilio o'r ychydig fodd a gasglasoch mor llafurus, gwell fyddai i chwi ddarfod a'r holl oruchwylwyr a appwyntiasoch mewn cyssylltiad a'r Drysorfa hon, a ddim ond gosod eich symiau yn y Swyddfa hon.

---

CENADYDD —Mae yr Henuriad Wm. Jenkins wedi hwylio o Gaerefrog Newydd er's yn agos i fis yn ol.

---

Y BYD ryfelawg a'r Wasg ydynt o hyd yn parhau yn eu llwybr goriwaered. Yr arlwyadau mwyaf danteithiol ar fwrdd newyddiaduron ein dydd ydynt hanesion am dywallt gwaed, lladrata, a phob drwg a phoen. Erchyll lofruddiaethau Ewropiaid gan yr Hindwaid cynhyrfiyd, a chyffelyb ddial ar y gwrthryfelwyr yn ol; bygythiad y Kaffiriaid i ymgodi mewn gwrthryfel. Persia sydd heb hollol gyflawni y cytundeb heddychol; China yn dal yn gyndyn o hyd, a Llywodraeth Lloegr a chynnifer o heirn yn y tân, fel y mae yn o debyg y cyll rhai o honynt, a llosgi ei bysedd yn y fargain.

Adref yn ein yml—yn 'ngardd Cristianogaeth' cawn lonaid colofnau o hanes putteindra, tylodi, celwydd, twyll, brad, hoced, lladrad, ymladdiau, llofruddiaeth, hunan-laddiaeth, baban laddiaeth, a phob 'iaeth' ddrwg arall oddieithr Mormoniaeth Mae cwpan Babel yn prysur lanw.

Yn mhlith y lluniau hyll eraill rhaid i olygyddion osod coeg eulun Mormoniaeth, neu ni fydd y *grand show* yn llawn.

Hyd yr wythnos ddiweddaf ni allem goelio fod Golygyddion Cymreig mor gibddall yn eu sel wrthformonaidd ag i osod y

celwyddau haerllug, ac hunan-wrthbrofiadol a honir eu bod oll wedi dyfod oddiwrth un John Davies. Ni chynnygiem eu gwrthbrofi er mwyn argyhoeddi neb synwyrol; eithr daliwn drwynau y *scavengers* golygyddol am ennyd wrth y baw drewllyd a grafasant mor llafurus ac ewyllysgar er dwbio eu glanach.

Y John Davies dywededig ydoedd fab y brawd David Davies, gynt o Newton, Morganwg, yr hwn, gyda ei deulu, a ymfudodd yn Ebrill, 1856. Bu efe farw ar y ffordd, ac aeth ei weddw a'i blant yn mlaen, a chyrhaeddasant i'r Dyffryn yn yr hydref.

Dychwelodd J. Davies i'r Talaethau—cychwynodd tuag yn ol Ebrill 17, a chyrhaeddodd yn Mehefin 13. Daeth y cenadon ag ydynt yma yn awr o'r Dyffryn ddiwrnodau ar ei ol ef. Tystiant hwy bod y Saint heb droi yn *flacks* pan gadawsant hwy, a dynion gwynion ydynt hwy eu hunain! Dywedant hefyd mai cyfreithiau a swyddogion cymmeradwyol ac antonedig y *Congress* sydd yn llywodraethu yno, ac na chlywsant son am yr ellylldra a noda ein gwron. Yn y cannoedd llythyron a ddanfonir i Gymru, gan Gymry, ni chawn enghraifft o'r fath. Mae ugeiniau wedi ymddangos trwy yr *Udgorn*, eithr ni wnant y tro i wyr yr amryfysedd cadarn.

Er i ni fod yn Dyffryn y Llyn Halen ein hunan, a bod ein hanwyl deulu yno, ni ddaethym i wybod am y muriau, y pyrth cyfyng, na'r ffosydd oddiamgylch Dinas Llyn Halen cyn darllen yr hanes 'dyddorol' yma, fel ei gelwir gan yr *Herald Cymraeg*, yr hwn sydd yn llyfu ei weflau ar ol y burgyn.

Rhoddwn ein menyg ar ein dwylaw tra y daliwn *specimen* wrth drwyn Dr. 'Herald,' a gofynwn y cwestiynau canlynol iddo:—

I. Pa fodd y gallasai dynion ymadael, ar draed, o'r Dyffryn, yn mis Rhagfyr, pan yr oedd eira yn gorchuddio y Mynyddau a'r Gwastadedd anial am gannoedd o filltiroedd o ffordd?

II. I ba ddyben y newidiai y benywod a'r gwrywod eu dillad a'u gilydd?

III. Paham oedd y gwrywod mor ffol a rhoddi y tipyn llunlaeth i gyd i'r benywod, a byw yn hollol ar y llaeth; onid doethach fuasai iddynt rhanu y lluniaeth, godro y benywod a rhanu y llaeth? Pa beth ddaeth o'r babanod? Awgrymwn y cynllun

canlynol, h. y., fod i Olygydd doeth yr 'Herald' brynu *waxwork exhibition y Grecian Daughter*, ac ychwanegu y *group* rhyfedd yma; canys meddyliwn y gwnelai well *showman* neu *cheap Jack* na golygydd newyddiadur.

IV. Pa le y cafodd yr hogyn tlawd fodd i brynu "chwe refolfyr ac un rifle?" Pa fath botasau oedd ganddo i gynnwys dau refolfyr, a'i alluogi yntau i fod mor ystwyth? Pa fodd y gallodd ei gyfeillion llechwraidd ddianc ar draed rhag gwŷr marchog? Pa goed oeddynt? Ni wyddom ni am danynt. Syndod fod tri dyn arfog yn methu a lladd un. Syndod mwy fod un o'r tri, ar ol cael J. Davies i'r llawr, yn ddim ond torri ei felt â chyllell, a chymmeryd pedwar refolfyr, yn lle torri ei wddf a chymmeryd y cyfan!

Awgrymwn i'r cyfieithad yn yr 'Herald Cymraeg' gael e gydmaru â'r gwreiddiol yn yr Herald Seisnig a gyhoeddwyd yn Abertawy, er's tua thair wythnos yn ol.

V. Yn mha le arall y ceir hanes fod cwmpeini Mrs. Babbit wedi curo mil o ryfelwyr Indiaidd? Mil !!

VI. Pa le y cafodd yr un tlawd y 500 doler i'w gadael i'w fam? Os cafodd hwynt. pa rhyfedd fod ymlid ar ei ol?

Hogyn ffalst ydoedd o, onide Meistr Herald? Ond, er hyny, ni fedrai gystal seisnig ag sydd yn y ffug chwedl 'ddyddorol' yma.

---

Y Brawd John Bowen.—Er fod yn dda gan ein calon i glywed oddiwrthych eich bod wedi ymadnewyddu gyda gwaith yr Arglwydd, a bod y fath lythyr rhagorol wedi dyfod oddiwrth eich brawd, o'r Dyffryn, etto, ni theimlwn ei fod yn ddigon rhydd o bersonoliaeth i ymddangos o flaen y cyhoedd. Gallwn ddifynu yn helaeth o hono. Yr Hollalluog a'ch nertho i gyflawnu eich haddewid.

---

CYNWYSIAD.



---

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS, ABERTAWY.

# UDGORN SEION

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 19.] MEDI 12, 1857. [CYF. X.


## SEFYDLIAD Y SAINT YN NEBRASKA.

Cofus i'n darllenwyr ein mynegiad, beth amser yn ol, o benderfyniad Llywyddiaeth yr Eglwys a'r Saint yn y Talaethau Unol i wneuthur sefydliadau newyddion ar hyd y Gwastadedd eang ac anial sydd yn gorwedd rhwng y Talaethau ag Utah. Yr oedd y rhai cyntaf i ddechreu yn Nhiriogaethau Kansas a Nebraska, yn y gorllewin pell, a'r nesaf yn mhellach yn mlaen, mor gyflym ag yr ymsefydlai yr ymfudwyr ynddynt. Ar yr un pryd yr oedd Utah yn estyn ei chortynau tua'r dwyrain, hyd onid yw yr anial daith eisioes gannoedd o filltiroedd yn fyrach. Dyry y llythyr canlynol hanes sefydliad y Saint yn—

*Dinas Genoa, Swydd Munroe,*
*Tiriogaeth Nebraska, Gor 1, 1857.*

GOL. Y MORMON—*Mygedawg Syr*—Yn unol ag hyfforddiadau y Llywyddion J. Taylor ac E. Snow, (ac am fy mod yn Hanesydd y Genadiaeth Nebraskaidd,) ysgrifenaf i chwi ein helynt a'n llwyddiant

Cychwynasom tuag yma, o Florence, Mai 11, a chyrhaeddasom ar ol ymdaith caled am 5 diwrnod. Yr oedd y borfa, yn herwydd diweddarwch y tymhor, yn dlawd ni welid glaswelltyn braidd o hyd bŷs; er hyny fe gyrhaeddodd pawb yn ddyogel, a dechreuasant aredig.

Ychydig iawn o wenith sydd genym; eithr bwriadwn hau yn had yn yr hydref. Ein ffarm sydd yn gorwedd i'r deau a'r

dwyrain ddeau i'r ddinas. Cynnwysa tua 750 erw, yn derfyn-e ig ar y deau gan yr Afon Beaver, deau ddwyreiniol gan y Lonp Fork, a gogledd a gorllewin gan glawdd tywarch. Y ffarm sydd benaf yn cael ei dal gan gwmnioedd Florence a St. Louis: nid yw cwmpeini Alton yn gynnwysedig yn yr uchod, ond maent yn ymsefydledig 14 milldir yn ogleddol, mewn plyg-iad i'r afon Beaver, yn cynnwys 800 erw.

Ein cnydau ydynt o'r natur mwyaf addawol; haidd, pytato, gwenith yr hydd, a llysieu gerddi ydynt yn ymddangos yn wych, ac os dianga ein haidd rhag y rewogydd cynnar ag ydynt yn dueddol neillduol i'r lledred yma, barna rhai o'n amcanwyr goreu y bydd y cynnyrch o ŷd o 50 i 70 bwshel yr erw.

Mae genym ein melin-lifo mewn gweithrediad, a dysgwyliwn y cawn allan yn y tymhor hwn ddigon o goed i'n cynnorthwyo osod tai fyny yn ddigonol i anghenion y boblogaeth bresennol. Mae genym felin ac odyn briddfeini mewn llawn waith, a dys-gwyliwn fod yn alluog yn fuan oddiwrth y fath gynnorthwy-adau a melinau-llifo, odynau pridd-feini, a dwylaw ewyllysgar, i adeiladu dinas na fydd un gradd ar ol unrhyw ddinas arall yn Nebraska.

Mae dinas Genoa tua 102 milltir o Florence, yn cynwys tua 400 erw, 10 erw mewn ploc, o ganol hyd ganol heolydd, 8 lot mewn ploc, 18 yslath mewn hyd, 9 yslath o led; yr ystrydoedd ydynt yn croesi eu gilydd yn gywir onglog, 4 yslath o led. Mae yn sefyll ar ucheldir ysblenydd yn agos i'r bluffs ar y gogledd, yn disgyn yn raddol i'r dwyrain, deau, a gorllewin. Gan fod y tir ychydig yn uchaf yn y canol, wrth sefyll ar y pelryal cyhoedd (*public square*), cewch olygfa hardd i'r dwyrain ryw 20ain milltir. Yn yr olygfa ddeheuol ymddengys Loup Fork (afon) gyda ei thywod dwmpathau byth symudadwy, a'i rhediad igam-ogam, yn frith gan ynysoedd o goed cotwn, Box Elder, Helyg, a pheth Cedrwydd; yn mhellach fyth yn y pell-der gwelwch y bluffs yn ymgodi, y trum gwahaniaethol rhwng yr afonydd LoupFork a'r Platte Fawr. Egniwch eich golwg ychydig yn fwy, ymddengys llinell ddu-las, dyna y Bluffs. Tu-hwnt i'r Platte, ryw 30ain milltir, deau-orllewinol, alltydd o goed, y Loup Bluffs, a môr o las wellt gyfarfyddant eich llygad. A bob troad gorllewinol, bluffs mewn ardderchawgrwydd mawreddog, yn döedig gan adfeiliau cynoesol, yn ein eglur hys

bysu, heb un cyfieithad, fod eu trigianwyr yn deall y celfyddydau; canys yr ydym ni wedi cael enghreifftiau o bethau copr a phridd, yr hyn sydd yn *link* arall yn y gadwyn fawr o dystiolaeth am awdwriaeth Llyfr Mormon.

Rhoddaf i chwi yn awr fynegiad cyfrifiadol o honom.—Ein nifer yw 97 o wŷr, 25 o fenywod, 40 o blant, 42 iau o ychain, 20 buwch, 6 ceffyl. a ryw ddau ddwsin o gywion, 20 mochyn, 2 gath, a digon o gŵn.

Dysgwyliwn ddigon o *sport* yn yr hydref, canys amgylchynir ni gan bob math o *game*. Mae ein ffrydiau yn frith o bysgod gwych, a gobeithiwn yn fuan i gael amser a thueddiad i ymfwynhau.

Yr Eiddoch, &c.,

HENRY J. HUDSON.

[Mor adderchog wrthdarawiadol i ddrygioni, twyll, gormes, a thrueni a gwae hen Fabilon ydyw rhinwedd, diwydrwydd, rhyddid a mwynhad y Saint yn ngwlad addawedig Joseph! Draw mae gwlad ëang—digon o le i bob teulu i godi eu lluniaeth allan o'r ddaear—gwlad iachus, hardd, a dymunol; pobl rhydd, rhyddid crefyddol, iawnderau gwladwriaethol yn gyffredinol. Nid oes un teyrn gormesol, trethi trwm, cyflogau isel, meistri celid, caled-waith afresymol, na'r mil ac un achwyniad eraill a glywn yma.

Yma, yn 'ngwlad y goleuni efengylaidd,' cawn drefydd gorboblogedig. dynion heb waith, tylodi, truenusrwydd, lladrad ac hoced o bob math, gwasgu y tlawd, diystyru y weddw a'r amddifaid, tafarndai, carchardai, gwallgofdai, a phutteiudai yn orlawn o drigianwyr. Wele rhyfel yn ymdorri allan, y gwrrywod yn cael eu hysgubo ymaith; yr haint a'r newyn yn dyfod i wneyd eu rhan alanas hwythau, tra mae aflendid, putteindra, a chlefydau dilynol y genedlaeth hon yn cynnorthwyo i waghau y ddaear, ac na adawer ond ychydig ddynion, fel y cyflawner gair yr Arglwydd.

Protestaniaeth a'i uuwreigiaeth a'i phutteindra canlynol: Pabyddiaeth a'i athrawiaeth am fywyd gweddw, ymddidoliad, &c., a'r canlyniad naturiol i rwystro amcan y gorchymyn mawr cyntaf; a llwbr goriwaered cymdeithas—hyn oll a ddengys fod cwpan hen Babel yn prysur lanw.

I'r gwrthwyneb i hyn wele waredigion yr Arglwydd yn llechu

am ychydig ennyd yn ystafelloedd y gorllewin pell, tra yr elo y llid heibio, ac ar yr un pryd yn ffrwytho ac amlhau, a llanw y lle ag hiliogaeth gref, iachus, a dihalog; yna yn myned allan ac yn meddiannu y wlad, gan gynnyddu fel lloi pasgedig, yn unol a rhagddywediad yr hen brophwyd. Trefn yr hen Batriarchiaid duwiol sydd yn eu plith, a bendithion yr hen Dad Abraham yn eu dilyn, yn ol addewid y Testament Newydd.

Yn mha ystod o amser y pobloga un teulu ddinas, a'r wlad amgylchynol? Dywedwn fod gan ben teulu amryw wragedd, a'i fod yn cadw reolau roddedig y Crewr mawr, y rhai y berchir gan hyd y nod anifeiliaid y maes, sef, peidio ag ymgyssylltu ond yn yr iawn dymhor ac amser. Mor ffol fyddai i ffarmwr ar ol aredig ei dir a gosod had ynddo, tra yn ei weled yn egino, pe hauai drachefn yn yr un tir cyn medi y cnwd. Onid yn gwastraffu yr had gwerthfawr fyddai yn lle ei iawn ddefnyddio? Pa faint mwy gwerthfawr eiddo yr ychydig gyfiawnion at ba rai y dysgwylia yr Arglwydd am godi iddo Ef ddeiliaid addas i'w deyrnas, tra y dinystria y drygionus.

Heblaw hyn, dacw y gair o ddoethineb yn cael ei barchu, a iechyd a nerth yn cael cadarnle yn mhob cyfansoddiad. Wrth gadw reolau manwl natur, byw eu crefydd, a meddu cyflawnder o Ysbryd yr Arglwydd, y mae i'r Saint yn Seion fod yn ffrwyth lawn a chawraidd fel cenedl Israel gynt; ac wrth ymarferyd y drefn Batriarchaidd, y cynnydda eu rhifedi ar egwyddor mor helaeth fel, pan gyrhaeddo Patriarch yr hyn a ystyrir yn awr yn hen oed y bydd yn benaeth dinas boblogedig yn hollol gan filoedd o'i hiliogaeth ei hun. Os mai dim ond cynnydd un teulu a fydd hyny, pa hyd y bydd y miloedd Saint yn Utah yn dyfod yn genedl gref, a pha bryd y cyflawnir y brophwydoliaeth fod cenedl yn cael ei geni mewn un dydd?

Y Cenedloedd drwg a godinebus a waeddant mor rithgrefyddol yn erbyn amlwreigiaeth a chyfraith foesol y 'Mormoniaid, tra yr olaf a gospant â marwolaeth yr hyn a oddefa eu cyhuddwyr, sef, godineb a phutteindra. Ddim ond un blaid Gristianogol a ŵyr ystyr dywediad yr Apostol cyntefig am ddinystrio y corff fel y byddo yr ysbryd yn gadwedig yn nydd yr Arglwydd Iesu. A'r rhai hyny yn unig a gant ettifeddu y ddaear.

Dywed yr Arglwydd am wlad Joseph, neu yr America, mai

pa bynag genedl a fyddo yn trigo arni ar na cheidw ei gyfreith iau Ef a ddinystrir oddiar ei gwyneb.

Nid hir, gan hyny, cyn y cyffawnir yn drwyadl brophwydol iaeth Joseph Smith—y cyfyd Gogledd a Deau yr Americ mewn rhyfel yn erbyn eu gilydd, ac y tyweiltir allan rhyfel, newyn, haint, a phläau ein Duw ar yr holl fyd, oddieithr Seion a Jerusalem, lle yn unig y bydd gwaredigaeth.

Aed y drygionus i'r Talaethau i gyfarfod yr ystorom, neu arhosant yma hyd oni ddel, eu dal gan., tra y ffafria Duw ei bobl etholedig.

Nid un na dau sefydliad newydd a leinw y Saint, ond yr holl ddaear, yn gymmaint ag y parhant i gadw gorchymynion eu Duw —*Gol. yr* UDGORN.]

---

## PAHAM Y FFOA GWRTHGILWYR O UTAH?

ATEBA y MORMON fel y canlyn:—

"Nid aml yr ymaflwn mewn newyddiadur a sonia am Utah heb gael ein hysbysu fod encilwyr oddiwrth Formoniaeth ag ydynt yn ymadael o'r Diriogaeth hono er dychwelyd i'r Talaethau yn ei wneuthur trwy lawer o gyfyngder, ac ar ddirfawr berygl eu bywydau. Ni ddysgwyliwn y cyferfydd ein gwadiad o unrhyw sail i ofn a chylchrediad mor llydan a'r cyhuddiad—mewn ffaith yr ydym mor ymarferol a chael ein henllibo, ac mor anaml yn gweled gosodiad o'n gwrthbrofiadau yn y Wasg Gyhoeddus, fel yr ydym wedi penderfynu er's hir amser mai *cenedlaeth gelwyddog* ydyw yr eiddom ni.

Amlwg yw fod y bobl yn ymhyfrydu cymmaint i ddarllen am yr arswydus a'r afrad fel y rhagfasnacha gwyr proffesedig yr esgyll yn hollol gymmaint ar yr hyn a eill gynnyrchu gyda yr elw mwyaf i feithrin blysoedd halogedig a brwnt eu cwsmeriaid, ac am yr hyn y cant fwyaf o ad-daliad, fel y gwna masnachydd sych nwyddau dewisol yn ei ddetholiaau ef, i foddhau dewisiadau a mympwy y rywiogaeth deg, â phob peth yn ei ffordd ef o unrhyw liw a fyner.

Gwastraff o'n hamser a'n lle fyddai sylwi ar bob peth a ddywed pob un a ddaeth o Utah y tymhor hwn; eithr y mae

yn werth sylwi fod yr holl bobl a ofnent gael eu lladd heb gael eu lladd na'u haflonyddu! Cyfaddefwn ein syndod wrth siolau gwag llawer o'n cyd gyhoeddwyr, ymddangosant i fod yn rhy hurt i ganfod hunan amheuaeth eu dywediad am braidd yr anmhosiblrwydd o adael Utah ddim ond trwy ffoi, a'u cofnodiad o gyrhaeddiad ugeiniau a channoedd gyda gweddeuau ychain pwyllog. Diamheu fod braw yn mynwesau llawer. Eistedd rhai pobl ofnog yn yml y tan ar hir wylnos auaf, gan wrando ar ystoriau am ysbrydion a bwbachod, hyd oni fyddont braidd yn ddigyffro gan fraw, ac am iachawdwriaeth eu heneidiau ni elent yn groes i'w haelwyd eu hunain heb oleuni i'w hargyhoeddi fod holl lofruddiedigion, gwenwyniedig, a chrogedig deg cenhedlaeth yn dawnsio yn eu hystafell wely Os byddant mor hynod lwyddïannus ag i fyned rhwng dillad y gwely heb lewygu, ac mewn awr wedi hyny feiddio achub eu hunain rhag mogu wrth ddadguddio eu hymenydd dyryslyd, dichon y gwelant yr hen gath, druan ddiddrwg, yn pendrymu mewn cornel, a thrawsffurflir hi yn ddisymmwth i'r Hen Huddyglun yn ceisio eu hudo â gwincau cyfrwys ac awgrymiadau o gyfeillgarwch—goleuddydd, modd bynnag, sydd yn chwalu y dychryn,

Mae golygyddion yn y Talaethau wedi cyhoeddi cymmaint am 'Ddanitiaid' neu 'Angylion Dinystriol' yn torri ymaith encilwyr ar y Gwastadedd hyd nes yn ddiau y breuddwydiai llawer, wrth gychwyn o Utah, am dorfeydd o Ddanitiaid neu Angylion Dinystriol yn boglymu am danynt eu cleddyfau, *revolvers* dychrynllyd, a'r gyllell waed-ruddiawg heb ddarfod mygu ar ol gwaredu rhyw anffodus druan, ac nid oes unpeth, debygem, ond en cyrhaeddiad digel i'r Frontiers a'u hargyhoeddodd na fodolai y bobl a'r arfau dychrynllyd hyn ond yn siolau gweigion a gwyllt eu hunain.

Eithr pwy yw y rhai hyn a ffoant o Utah? A ydynt hwy gymmaint yn burach, yn fwy rhinweddol a chyfiawn na'r Utahiaid a adawsant yn y mynyddau, fel y maent wedi brysio o'u cymdeithas i ymgymmysgu a gwell pobl ac i anadlu purach awyrgylch—rhywbeth mwy cydrywiol a chysson â'u chwaethau coethedig a'u hanian uchel foesol? Gwir nas gallwn ateb am bawb a ddaethant yn ol yn ddiweddar mor frysiog i'r Talaethau; ithr gwyddom i Egwyddoreg y Diwygiad wneuthur i lawer e

ua ddawnsio oddeutu, a darparu i gychwyn, heb gynnorthwy na cherddoriaeth, Danitiaid, nac Angylion Dinystriol. Nyni a gyhoeddwn, y waith hon etto, yr Egwyddoreg ryfeddol—y frwell a osodwyd wrth fôn pob pren, ac a wnaeth i'r asglod hedeg! 'Darllenwch yn bwyllog, meddyliwch yn ddwfn, a gweithredwch yn ddoeth' bawb a ddarllenant yr Egwyddoreg Utahaidd ganlynol:—

'A ddarfu i chwi gyflawni llofruddiaeth, trwy dywall tgwaed gwirion neu ganiatau i hyny?

A ddarfu i chwi fradychu eich brawd neu eich chwaer mewn unrhyw beth?

A wnaethoch chwi odineb wrth ymgyssylltu â benyw yr hon nid oedd eich gwraig (neu â dyn yr hwn nid oedd eich gwr?)

A ddarfu i chwi dorri gwair lle nad oedd genych iawn, neu droi anifeiliaid i mewn i faes person arall heb ei ganiatad?

A ddywedasoch chwi gelwydd am, neu faleisus gam-ddarlunio unrhyw berson?

A ddygasoch chwi gam dystiolaeth yn erbyn eich cymmydog?

A gymmerasoch chwi enw y Duwdod yn ofer?

A chwennychasoch chwi unrhyw beth nad oedd yr eiddoch?

A fuoch chwi yn feddw gan ddiodydd cryfion?

A ffeindiasoch chwi eiddo colledig, a pheidio a'i ddychwelyd i'r perchenog neu ddefnyddio pob diwydrwydd i wneuthur hyny?

A gyflawnasoch chwi eich haddewidion mewn talu eich dyledion, neu rhedeg i ddyled heb fwriadu ei dalu?

A ydych chwi yn talu eich degwm yn gysson?

A ydych chwi yn dysgu i'ch teulu efengyl yr iachawdwriaeth?

A ydych chwi yn dweyd yn erbyn eich uwchafiaid yn yr Eglwys neu yn erbyn unrhyw egwyddor addysgedig yn Llyfr Mormon, Llyfr Athrawiaeth a Chyfammodau, neu yn erbyn y dadguddiadau a roddwyd trwy Joseph Smith y Prophwyd a Llywyddiaeth yr Eglwys fel y mae yn awr yn gorfforedig?

A ydych chwi yn gweddio yn eich teulu, nos a boreu, ac yn edrych at ddirgel weddi?

A ydych chwi yn llafurio chwe' diwrnod, a gorphwys neu weithio ar y Sabboth?

A ydych chwi a'ch teulu yn cyrchu i'r cyfarfodydd dosparthiadol?

A ydych chwi yn llywyddu dros eich teulu megis gwas Duw? ac a ydyw eich teulu yn ddarostyngedig i chwi?

A weithiasoch chwi yn ddiwyd am, ac a ennillasoch chwi yn gyfiawn yr huriau a dalwyd i chwi gan eich gwaith roddwyr?

A ydych chwi yn gormesu y cyflogedig yn ei gyflog?'

"Meddyliwn ni, mai ar ol darllen y blaenorol y dealla pob un paham o leiaf y gadawodd llawer un Utah, ac fe ddeallir hyny yn neillduol pan y gwybyddir fod penydau Israel Cyntefig mewn adferyd pedwar cymmaint yn cael eu gorfodi yn Utah oddiwrth y troseddwr anffodus. Am y presennol, digon.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, MEDI 12, 1857.

TEYRNAS DDUW.—Er holl ffregod yr Offeiriadon Sabboth ar ol Sabboth, a'u hailadroddiadau o weddi yr Arglwydd, yn yr hon y dywedir, 'Deued dy deyrnas, gwneler dy ewyllys ar y ddaear megis y mae yn y nefoedd, &c., nid ydym, o'u rhan hwy radd yn nes o gael y naill na'r llall.

Gwir da ddywed yr Iesu fod dynion yn agoshau at yr Arglwydd a'u gwefusau, a'u calonau yn mhell oddiwrtho. Yn ein hoes oleu ni, pan mae ein gwlad yn dân ffagl gan 'efengyl,' ac yn frith o 'beirch,' er fod cymmaint o weddio ganddynt am ddyfodiad teyrnas Iesu, &c., dywedant fod y wlad yn ddigon goleu, dim eisiau ychwaneg o ddatguddiad, &c., fel pe byddai pegwn perffeithrwydd eisioes wedi cael ei gyrhaedd.

Yn lle fod Iesu yn Frenin daear, a dynion yn gwneuthur ewyllys Duw ar y ddaear megys ag y gwna yr angylion santaidd yn y nefoedd, cawn freninoedd ac amherawdwyr, na enneinwyd gan Dduw, yn honi yr hawl a'r gallu, yn annibynol o un cyfarwyddiad o'r nefoedd, i reoli y blaned hon yn eu mympwy hwy, yn anystyriol o Fod goruwch a arferai yn yr hen amseroedd, dderchafu a darostwng penau coronog yn ol

ei ewyllys, a chyfarwyddo byddinoedd i ryfela neu beidio yn ol ei gyfiawnder Ef.

Ai felly y mae pethau yn awr? Hysbys i bawb yr ateb I gyhoeddi rhyfel, ysbeilio gwledydd o'u rhyddid a'u cysur—i aberthu cannoedd o filoedd o fywydau ar allor balchder a thrachwant—i radd y tir â gwaed dynoliaeth am y teganau gwaelaf, o ddiffyg synwyr a phwyll, nid yw ond hawl-fraint teyrniaid a seneddau. Mae pethau mor erchyll wedi dyfod mor gyffredin yn ein byd Gristionogol ymffrostiol, fel nad ystyrir fod cyfrif i'w roddi yn y byd a ddaw am danynt. Yn wir, â esgobion ac Offeiriadon cyflogedig Belial mor bell ag i weddio ar Frenin y Breninoedd i lwyddo y fath gigyddiaeth alanas a bendithio gwrthrychau eu dyddordeb.

Er hyn oll, tra parhao y tal, parha yr offeiriaid i weddio, 'gwneler dy ewyllys, a deued dy deyrnas.'

Eiddo yr Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder, y byd, ac a breswyliant ynddo, meddai ef drachefn, wrth ddarllen Salm. I offeiriaid ac eraill a weddiant ac a ddarllenant fel hyn gofynwn yn

1. Pan y gweddioch 'gwneler dy ewyllys, a deued dy deyrnas,' a ydych chwi yn gydwybodol nad ydyw ewyllys Duw yn cael ei gwneuthur, ac fod ei deyrnas i ddyfod yn llythyrenol?

2. Os nad ydych, paham y rhagrithiwch, ac y llefarwch oferedd?

3. Os credwch yr hyn a weddiwch, pa fodd y dysgwyliwch i deyrnas Crist ddyfod, a pha fodd y gwneir dynion yn hysbys o drefn y nefoedd, fel y gallont ymddwyn fel y bodau glân, cariadus, a chymmwynasgar sydd yno?

Ffaith hunan-brofiadol ydyw fod yr amrywiol bleidiau a ymgyfenwant yn Gristionogion yn mhell o fod yn ymddwyn yn ol y rhan a nodwyd o'r weddi; eithr ymunai y naill blaid Gristionogol â Mahometaniaid an-Ngristaidd i ladd y Cristionogion ereill. Mewn gair, hunan-les elw personol, cyfoeth, ymherodraeth ac yswyaeth ydynt brif amcanion gwledyd trwy y gallu dynol (*might is right*) yma y cymerwyd teyrnas nefoedd trwy drais, yn ol geiriau yr Iesu. Ar adfeiliau gwaedruddawg yr Eglwys Apostolaidd yr adeiladodd y Pab ei orsedd, ac hynodweddwyd amryw ganrifoedd dilynol gan ei ormes, ei

drais, ei lofruddiaethau, ei rhwymau a'r gydwybod, a'i gefnogaeth, dan gochl crefydd i'r pethau mwyaf gwrthun.

Trwy ryfel o waed sefydlwyd Protestaniaeth, ac nid yw y Diwygiad a ymffrostir amgen na chynlluniau a gweithrediadau dynol. Nid oes a fyn llŷs goruchel y Nefoedd ag un dim na'r hollymddygiadau hyn. Pe dygwyddai ereill gario trwy rym arfau, hwynt hwy fuasai sylfaenwyr teyrnasoedd ac Eglwysi, a gwrthrychau gweddi offeiriad cyflogedig, er y byddent wedi ymnofio mewn gwaed diniweidrwydd.

Eithr y dygwyddiad hynotaf yn hanesion byd gwrthgiliedig, ydyw adferiad teyrnas nef gan Angel o'r uchelder i'r Prophwyd Joseph Smith, ei waelder ef fel dyn—bachgen anllythrenog a thlawd yn dilyn yr aradr—yr erlidigaeth a gafodd efe a'i a'i ddilynwyr gan fyd ac eglwys—ei lwyddiant anghydmarol, a sefyllfa wladol presenol y Saint, ydynt feithiau boddhaol i'r Saint mai Duw sydd wedi ei phlannu yn ngynteddau y mynyddau creiglyd, yr hon, fel y dywed Daniel, a faluria holl deyrnasoedd y byd.

Ddim ond cip drem i'r diragfarn a'r doeth a ddengys fod ffrwythau trefn y nefoedd ac ewyllys Duw yn amlwg yn nghymdeithas Saint Utah, yn enwedig pan eu cydmarwn â'r gweddill o'r byd. Diogi a thylodi, casineb a rhyfel, lladrad, godineb, a drygau eraill Babilon Fawr nid ydynt yn cael safle yno. Nid oes yno offeiriaid cyflogedig i blanu traddodiadau gwrthun yn y meddwl, a 'gofalu am yr enaid,' fel y dywedir, heb hidio pa beth a wna dynion yn eu masnach dyddiol a'u sefyllfa gymdeithasol. Yno y mae gweithwyr caled yn benaethiaid gwladwriaethol, ac esgobion yn mhob dosparth o bob dinas yn myned o dŷ i dŷ a gweled nad yw y weddw a'r amddifaid yn dyoddef na'r diog yn gorwedd, ac ymiawnu pob gwahaniaethau heb gael un tal am eu gwaith. Y wlad sydd yn ffrwythlawn, y bobl yn ddiwyd, a rhyddion yn ystyr helaethaf y gair. Llais y bobl sydd yn cadarnhau cyfreithiau gwladwriaethol, ac yn dewis swyddogion i'w gweinyddu. A'r holl bethau bendithiol hyn a ddysgir yn nrefn yr iachawdwriaeth a adferwyd i'r Prophwyd Joseph Smith. Cynnwysa egwyddorion ag ydynt gymhwysiadol i bob amgylchiad, wedi cael eu pro yn berffaith trwy dragywyddoldb—mewn bydoedd ar ol bydoedd a ddyrchafwyd o sefyllfa syrthiedig i ogoniant nefol, deallltwr-

iaeth gyflawn a gweithrediad o ba rhai sydd yn gwisgo y Duwiau ag anfeidroldeb ac hollalluawgrwydd—gallu i grynhoi yr elfenau chaosaidd yn yr eangder diderfyn a'u coffori yn fydoedd —gallu i amlhau eu rhywogaeth, sef cenedlu ysbrydion dynion, eu gwisgo â chnawd, a'u gosod ar blanedau newyddion yn ysgol profiad, sef chwerwedd marwoldeb, ac i gyflwyno iddynt yr egwyddorion a gadwant fywyd a pharhad diderfyn yn eu mysg, a chynnydd hyd anfarwoldeb.

Yn ol y drefn fawreddog yma y dygodd ein Tad Nefol nyni i fodoliaeth, ac y roddodd y ddaear hon i ni i drigo arni. Pwy, ynte a feiddia wrthwynebu ei honiad EF i lywodraethu y byd hwn fel y myno. Mae chwyldroad cyffredinol wedi dechreu, ac ni ddiwedda hyd oni fyddo holl deyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist Ef.

Y drefn a nodasom sydd yn cyrhaedd i dragywyddoldeb, yn ffurfio bydoedd, eu llywodraethu, a gosod eu preswylwyr mewn sefyllfa o ddedwyddwch, cynnydd a pharhad. O, y swm anferthol a gynnwysir yn yr ychydig eiriau yma! O, pe gallai y Saint ag sydd wedi cael cip drem ar drefn y nefoedd, a gronyn bach o ysbryd y duwiau wisgo â geiriau y meddylrithiau a ganfyddant pan yr ymeangau eu dealltwriaeth mal eangder ei hun, ac agor llygaid plant anianol y byd! Mae cynneddfau y duwiau ganddynt, fel mae cynneddfau y tad yn yn y plentyn; eithr heb eu gwrteithio; a gwelwn, hyd y nod mewn dysgeidiaeth fydol y gwahaniaeth rhwng dynion dysgedig ac annysgedig. Derbyniad o ddawn yr Ysbryd Glân yn unig a ddug y goleuni a ofynir, ac a esyd y bobl i lywodraethu eu hunain, a cheisio ymddwyn er y lleshad mwyaf, a'r amddifadrwydd o hono yw yr achos o drueni, gwae, a thywallt gwaed.

Mae y cyfnod a ddechreuodd gyda chyflwyniad y genadwri i Joseph wedi cael ei rhagdraethu gan y Prophwyd Joel—'A bydd yn y dyddiau diweddaf, medd Duw, y tywalltaf o'm Ysbryd ar bob cnawd—eich meibion a'ch merched a brophwydant, eich gwŷr ieuainc a welant weledigaethau, a'ch henafwyr a freuddwydiant freuddwydion, ac ar fy ngweision a'm llaw forwynion y tywalltaf o'm Ysbryd,' &c. Yr Ysbryd a'r gallu hwn a feddiannid gan Daniel gynt, a chan Ioan ar Ynys Patmos. Y mae yn goleuo ac ymhelaethu y meddwl, a llanw dyn â medd-

ylrychau mawreddog i ymgyrhaedd at bethau dyrchafedig, hyd nes anghofio teganau bydol, a chroesion presennol, y rhai a lyncir i fyny yn y darpariadau gogyfer a THRAGYWYDDOLDEB, megis plentyn yn cael golwg ar fywyd dynol. Dyna fras ddarluniad o ba beth yw 'Mormoniaeth.' yr hon sydd i ddwyn oddiamgylch y Milflwyddiant dedwyddol, neu deyrnasiad cyffredinol Crist.

Mormoniaeth yw cyfraith, reol, neu egwyddor sefydledig bôdau perffaith neu dduwiau—cyfraith neu drefn teyrnas Duw ar y ddaear hon, a'r Saint yw y deiliaid. Ei hamcan ar bob cynnyg ydyw dwyn oynnydd, bywyd, a dedwyddwch—cynnydd mewn rhifedu, yn ffrwythau a chynnyrch y ddaear, mewn pethau llaw wneuthurawl, ac yn mhob peth ag y mae gan greaduriaid ddyddordeb ynddo, gyda'r gwastraff lleiaf.

Meddylia rhai fod cynnydd teyrnas Duw yn ymddibynu ar yr ychwanegiadau a wnawn trwy fedydd, a chan nad yw y Saint yn Nghymru yn bedyddio llawer yn bresennol, fod y deyrnas ar ei lleihad. Nid ar gael cynnulleidfaoedd a chapeli yn Nghymru yr ymddibyna Mormoniaeth am gynnydd. Mewn rhan arall o'r rhifyn hwn nodwn ffordd amgenach i gynnyddu ein rhifedi, sef trwy ein plant—ein gobeithion dyfodol.

I ymfudo o Gymru i wlad y rhyddid, lle y gellir ymarferyd egwyddorion bywyd, a chadw llywodraeth deuluawl briodol y gelwir y Saint. Teuluoedd sydd yn gwneuthur llwythau, a llwythau yn gwneuthur cenedloedd, a chenedloedd sydd yn poblogi byd. Pa fodd y gwneir ewyllys Duw ar y ddaear megys ag yn y nefoedd? Wrth ddechreu yn mhob teulu.

Frodyr yn Israel, pa reolaeth sydd genych yn eich teuluoedd? A ydych chwi yn addysgu eich plant yn nhrefn yr iachawdwriaeth? A ydyw y Diwygiad wedi cyrhaedd pob aelod o'ch teulu? A fedyddiwyd cynnifer o'ch plant a gyrhaeddasant wyth mlwydd oed? A ydynt hwy yn meddu doniau yr Ysbryd Glân yn cael breuddwydion a gweledigaethau nefolaidd, ac yn ymgadw rhag llygredigaethau yr oes? A ydych chwi yn pennodi amseroedd yn eich teuluoedd i addysgu, cynghori, ceryddu, gweddio, neu beth bynnag a fyddo yn angenrheidiol? A ydyw eich gwragedd a'ch plant yn adnabod eu lle ac yn cydnabod yr eiddoch chwithau? Os nad ydych yn ymestyn eich goreu at hyn ni chewch ran yn ngogoniant nefolaidd y deyrnas gydag

Abraham. Isaac, a Jacob, a'r holl batriarchiaid eraill. ac nid ydych yn deilwng o gael eich mudo i Seion, lle na phreswylia ond y rhai a santeiddiant enw Duw, a wnant ei ewyllys ar y ddaear megys ag y gwna preswylwyr dedwyddol y nefoedd yn eu teuluoedd a'u trigfanau hwy.

Na weddier mwyach Deued dy deyrnas. oblegid hi a ddaeth ynghyd a dadguddiad o ewyllys Duw.

## HANESION EGLWYSIG CARTREFOL

### CYNNADLEDD ORLLEWINOL MORGANWG.

*Abertawy*, Awst 8. 1857.

Y Llywydd Daniels.—Pan y mae tymhor pregethu allan megys ar gau arnom, ystyriwyf yn ddyledswydd arnaf i ysgrifenu ychydig linellau idd eich hysbysu am ein gweithrediadau yn y mynedol, ac hefyd o'n ansawdd yn y presenol.

Amser diwyd fu arnom o ddechreu'r "Diwygiad" hyd yn awr, yn pregethu. dysgu. cynghori. annog, bedyddio a sefydlu yn meddyliau ein brodyr a'n chwiorydd mai eu lleshad a'u iachawdwriaeth oedd mewn golwg yn holl ammodau y Diwygiad. Trwy gynnorthwy Ysbryd Duw, a'r cynghorion a gawsom genych chwithau o bryd i bryd, llwyddasom i gael agos yr oll i gyfammodu a'u Duw. i'w wasanaethu gyda mwy o egni a ffyddlondeb nac erioed o'r blaen: ac erbyn hyn mae eu gobeithion pryderus blaenorol, trwy eu gweithrediad wedi troi yn ffeithiau profiadol iddynt fod Duw yn Israel yn bendithio y rhai a ymddiriedant ynddo, ac a weithredant ei ewyllys.

Wedi cael pethau i'r drefn a ddymunem, ymosodasom ar bregethu yr efengyl i'r byd, ar gost aberthu pob peth, fel pe na phregethwyd iddynt erioed o'r blaen; ac yn hyn cawsom y brodyr a'r chwiorydd yn ffyddlon neillduol. Rhanasom y gwahanol drefydd, pentrefydd, a'r wlad, hyd y gallem. yn ddosbarthiadau; a gosodasom i bob Swyddog a Sant ei gylch i fyned a thraethodau o dy i dy gan dystiolaethu am ddaioni Duw.

Pregethwyd yn ffyddlon ddiwyd gan y brodyr yn gyhoeddus i mewn ac allan, tref a gwlad, hyd y gallasent; ac mor ffyddlon a hyny canlynid hwynt gan y chwiorydd o le i le, trwy wg

a gwawd, poeth ac oer, tew a'r teneu, i sefyll yn golofnau byw ger bron y cyhoedd yn gyfochrog a'u brodyr i ardystio mewn gweithred fod y gwaith mawreddog hwn o Dduw. Trwy barhau ein ymdrechiadau fel hyn ar hyd yr hâf, llwyddasom i ennill amrai i'r Eglwys na wyddent nemawr neu ddim am dani o'r blaen; ac yn ol a allwn farnu fod aml un wedi ei alw, os nad wedi ei ddwysbigo yn ei galon o berthynas i deyrnas Dduw. O'r tu arall, yr ydym wedi llwyddo i dynu digasedd holl gelwyddwyr, meddwon, puteinwyr, swyn-gyfareddwyr, crefyddwyr, pregethwyr, offeiriaid, ac holl ellyllon y fall yn un pentwr. Ymuna y genedlaeth wiberod weithiau yn dyrfaoedd lluosog i erlid y Saint, a thorri i fyny y cyfarfodydd. Tra y rhegai y rhai dibroffes yn arswydus, y rhai ag oeddynt rhy grefy*dd*ol i rhegu (ddim ond yn y corff) a ymroddent i wawdio, a lluchio y peth cyntaf a ddeuai i'w dwylaw; ond, pw! be' waeth? os oes gwg o uffern mae gwên o'r nefoedd, ac os oes cerrig, morter, clai, a bônau *cabbage* oddi-isod y mae holl feudithion y Cyfammod Tragywyddol oddi uchod. Teimlwn yn *first rate* trwy y cyfan, er y gorfodir ni yn unol â synwyr cyffredin i ddyfod i'r penderfyniad anocheladwy fod gan y Saint deyrnas iddynt eu hunain, pa un bynnag ai eiddo Duw neu Satan ydyw. Gan nad oes ond y ddwy hyny mewn bodoliaeth, ac mai yn nheyrnas y diafol y mae erlidwyr a difenwyr rhegllyd, a gwawdwyr ac enllibwyr maleisus, rhaid mai o Dduw y mae y Saint; ac er fod yr *imps* hyn yn ymranu yn mhlith eu hunain, ymunant o unfryd i erlid teyrnas Duw. Pe cymmerem hyn ganiataol fod sectau 'Cristianogol' ein hoes yn deyrnas Duw a'r Saint yn eiddo y diafol, onid afresymol fyddai i un rhan o deyrnas y diafol ymuno â theyrnas Duw i erlid y ran arall? Pa gyssylltiad sydd rhwng goleuni a thywyllwch—Crist a Belial?

Yn mhellach, dengys y ffaith o'u hamddifadrwydd hwy o ddoniau Ysbryd Duw—addewidion y Testament Newydd, y rhai a fwynheir gan y Saint, fod y blaenaf megis prenau gwyllt diffrwyth y goedwig yn gydmaredig a phren ffrwythlawn y Saint yn y berllan—ein bod ni o Dduw, a'r holl fyd yn gorwedd mewn tywyllwch a drygioni.

Gyda llawenydd hysbysaf chwi fod yn ein plith undeb, cariad'

a chydymlyniad, gydag ychydig eithriadau, a Duw, mewn ad-daliad yn ein caru ni hyd nes y teimlwn i gynnyddu mewn daioni, fel y caffom

Rhagor, nes ein hanrhegu –â dethawl
Fendithion y teulu;
Aeth i dref, uwch llef y llu,
Iach hollol mewn gwych allu.

Yr eiddoch yn serchus,
JOHN DAVIES.

---

CYNNADLEDD SIR ABERTEIFI.

*Aberystwith, Awst* 3, 1857.

Y Llywydd Daniels.

Anwyl Frawd.—Nid yw fy iechyd cystal ag y bu; mae anwyd trwm arnaf. Wedi newydd ddychwelyd ydwyf o fod yn cyhoeddi 'Mormoniaeth' yn hir ac yn uchel y tro yma yn ddiorphwys am dair wythnos.

Dydd Sul, tair wythnos i ddoe, bum mi a'r brawd Joseph W. Tuckfield yn pregethu allan yn Goginan. Pregethasom ddwy waith i dorfeydd o warandawwyr astud.

Y dydd Mawrth canlynol aethym i Llanrhystud. Wedi i mi fedyddio un yn chwaer, cyhoeddais trwy y lle fy mod yn bwriadu pregethu yno yn yr hwyr. Gwrthwynebwyd fi yn nwydwyllt gan ddau o Offeiriaid eglwys Harri yr wythfed. Galwasant fi yn was y diafol, gan fy ngorchymyn i fyned oddiyno, 'gan mai gwlad Gristianogol ydyw hon, ac os beiddiwn bregethu yno y buaswn yn sicr o gael fy mobio—y lluchid cawod o gerrig ataf,' ac fe ddywed un o honynt yn mhellach 'y taflai efe y garreg gyntaf!' [*Colledge education!*] Barnwch chwi y fath 'wlad Gristianogol' fyddai hon o dan eu llywodraeth hwy!

Modd bynnag, pregethu a wnaethym ar ol cael ychwaneg o drafferth i gael lle, ymddarparu, &c. Gofynais i dafarnwr y *Black Lion* os caffwn sefyll i bregethu ar ben ei *horse-block*? Gomeddodd y ffafr o herwydd bod yr offeiriaid yn yfed yno! [esgus priodol, cyfaddefwn.] Ar ol dangos fy nhrwydded i'r heddgeidwad a chael ei nawdd ef pregethais, er mawr siomedigaeth yr offeiriaid cynddeiriog, i dorf ddirfawr o wrandawyr boneddigaidd. Derbyniais yn helaeth o ysbryd fy Nhad; pregethais fel cawr, ac fe safodd yr heddgeidwad hyd y diwedd.

Dydd Mercher, Gorph. 15, aethym trwy y wlad gan werthu traethodau a thystiolaethu am Efengyl Crist hyd oni ddaethym i Ysbytty Ystwyth, lle y pregethais allan, ar ol cerdded tuag ugain milltir, a chefais amryw i fy ngwrando.

Bum yn bloeddio 'Mormoniaeth' hefyd yn Aberaeron, lle y daeth amryw i wrando; eithr cefais lawer o'm herlid yno.

Pregethais hefyd yn Nhregaron, a Waun Llanfer, Clydoge, a

thrwy barthau isaf y Gynnadledd; dwywaith hefyd yn y gymmydogaeth hon—yn Llanbadarn a Phenparce.

Teimlwyf yn dda; diolch i Dduw am Formoniaeth. . .

Eich brawd bach,
JOSEPH GRIFFITHS.

Teilwng yw yr uchod o efelychiad niferoedd o'n brodyr sydd fel y brawd Griffiths, yn ieuainc ac o gael el groniclo yn ein cyfrol er mor fychan y mae. Dengys yr enghreifftiau uchod pa fodd y gweithir, nid yn unig mewn ychydig wythnosau, eithr yn ystod y tymhor. Er na enwir yma yr holl frodyr diwyd sydd yno. ni anghofir hwy gan Berchenog y Winllan yn nydd y tal.—Gol.

---

## CYNNADLEDD BRYCHEINOG.

*Llanelly, (B.) Medi* 8, 1857.

Anwyl Frawd Daniels—Yr ydym ni yma yn myned yn mlaen gyda gwaith Duw gan feindio busnes ein hunain. Mae y mwyrif o honom yn hydweled â'r holl fesurau a ffurfir i ni eu cario allan. tra y mae ereill, drwg genyf ddywedyd, yn groes a diog, wedi colli Ysbryd yr Efengyl braidd yn hollol, ac os nad edifarhant a diwygio yn fuan, ymddengys y bydd eu diwedd yn waeth na'u dechreuad.

Yr ydym yn parhau i bregethu allan, a chael gwrandawiad da, yn neillduol yn Brynmawr. Bwriadwn bregethu yn Llangatwg a Cherighywel: carem gael cynorthwy y brawd Taylor ar yr achlysur.

Nid oedd degwm y mis diweddaf yn gymaint ag arferol o herwydd digwyddiad yn y gweithiau.

Yr eiddoch yn yr Efengyl,
JOHN THOMAS.

---

TALIADAU o Awst 1 hyd Medi 11.—John Davies' £10; Evan Richards, £5; A. L. Jones, £5; John Thomas, 13s; J. Griffiths 13s; David John, £3 5s; W. Ajax, Dinbych, £1 6s 4c; S. Roskelley, £5.

☞ Mae yr Indiaid wedi dechreu ryfela â'r milwyr, gan ddwyn 800 o'u hanifeiliaid at ladd, Tywalltwyd gwaed ar bob ochr. Mae darpariadau am rhyfel yn Kansas.

CYNWYSIAD.



ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS, ABERTAWY.

# UDGORN SEION

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 20.] MEDI 26, 1857. [CYF. X.


## HANESION EGLWYSIG CARTREFOL.

### CYNNADLEDDAU Y GOGLEDD.

LLANDUDNO' Medi 16, 1857.

*Anwyl Frawd Daniels*—Ar y cyntaf o Fai diweddaf yr oeddem yn galw yn nghyd amryw frodyr ffyddlon, yn ol y cynghor a gawsom i brofi y byd, hyny yw, myned allan heb bwrs &c. i blith y cenedloedd anghredniol, gan bregethu yr Efengyl iddynt, a gweled pa un ai derbyn, parchu, a bwyda gweision Iesu a wnaent, neu selio eu damnedigaeth trwy eu gwrthod

Yr oedd ar y pryd gannoedd a miloedd o draethodau o waith D. Jones a J. Davies yn llwydo wrth y llonaid blychau yma a thraw trwy y Cynnadleddau fel baich—fel dyled y goron, heb obaith ei delir byth. Wrth ystyried eu bod yn eiriau y bywyd, a dynion yn marw yn chwe sir y Gogledd o eisieu gwybod eu cynnwysiad. penderfynasom eu dosparthu.

Dewiswyd wyth o henuriaid, y rhai oeddynt a'u calonau yn y gwaith, i fyned allan, a roddwyd cŵd da yn llawn o lyfrau rhwng pob dau, a chyfarwyddwyd hwynt i gymmeryd y wlad o'r bron, gan draethodu pob tŷ, a phregethu yn yr hwyr.

Aeth y brodyr Thomas Jones, (gynt o Aberystwith,) ac Edward Parry, Ieu., o Tanygraig, Llandudno, trwy holl sir Gaernarvon a Môn, gan draethodu yn fanwl mewn tref a gwlad o'r bron. Weithiau caffent fwyd gyda groesaw calon; prydiau ereill golwg digon sarug. Ar un amser caffent fwyd da, a digon o hono; amseroedd ereill, bwyd sal ac ychydig o hono, a chryn

Pris 1½g.

amser ar y tro heb ddim. Weithiau byddent mewn gwely, pryd arall wrth fôn y clawd .... as wair, mewn ysgubor, ffald defaid, neu ar ganol cae. Rhai prydiau gyda bola llawn prydiau eraill heb gael dim oddiar y boreu neu y nos o'r blaen. Y bobl weithiau a'u derbynient yn garedig, a channoedd yn gwrando eu pregethau: prydiau eraill y bobl a'u tyngent ac a'u rhegent, a gyru y cŵn ar eu hol, gan fygwth eu saethu neu eu crymanu fel torri gwellt—neu wrth fod ein brodyr addfwyn yn pregethu y bobl a'u gwawdient ac a waeddent *hurrah!* a'u gyru o'r lle fel lladron, gan ymlid ar eu hol filltir o ffordd, a'u gadael i fyned yn newynog a gwlyb i'r croen i gysgu ar y maes. Creid yr holl gynhwrf gan rhyw hen Fethodistyn Phariseaidd a'i ben trwm, ochenaid farwol, gweddi hir, pwysau bach, mesur bŷr, a'i hen lais truenus dônawg, rhith dduwiol cythreulig yn dywedyd, "Mae yr oes yn rhy oleu a gwareiddiedig i gyfeiliornad o fath hynyna gael derbyniad yn ein gwlad Gristianogol ni! Gwyddom am waith gras ar ein cyflyrau trwy Iawn y Groes er ys llawer dydd bellach, a rhy hysbys ydym o hanes y twyllwr Joe Smith a'r Mormoniaid i gael ein hudo; eithr os gwnewch chwi un wyrth fach nyni a gredwn!" Ar yr un pryd yr oedd yn llawn celwydd ac anonestrwydd, twyll a phutteindra. Yr ydwyf yn barod i gredu i'r diafol ddwyn yr hen lofrudd, John Calvin, i ben un o fynyddau uchaf Caerynarfon, a'i gael i syrthio ger ei fron a'i addoli, am yr hyn y cafodd Calvin yn ettifeddiaeth, Môn, ac Arfon, a chŵr y Bala.

David Jones, Dinbych, a Daniel Lewis a aethant tuag ochr y Bala, gan draethodu yr holl wlad, a chawsont hwythau yr un driniaeth a ddesgrifiwyd eisioes.

Edwin Price, Trefôr, gwr i un sydd deilwng o'r enw gwraig, yr hon sydd a'i holl galon ar i'w gwr gael pob cyfleustra i wneuthur ewyllys Duw, dyna y *quality* sydd yn mherched y Saint yn y gogledd,) a Robert Williams, (Offeiriad,) Cefn Mawr, a aethant tuag ochr Llangollen, a chydag ochr Sir Gaerlleon i lawr hyd sir Drefaldwyn, gan draethodu a phregethu yn gymraeg a saesneg trwy yr holl wlad. Cawsant hwythau yr un driniaeth a'n brodyr eraill: credwyf mai y ddau yma a oddefasant fwyaf trwy gysgu allan a phrinder bwyd,

Yr Henuriad John Treharne a minnau a gyd deithiasom am tua 6 wythnos, trwy barthau Meirionydd, Trefaldwyn, Aberteifi

a Maesyfed, gan bregethu mwy na thraethodu; eithr wedi i mi ymadael ag ef, parhaodd, wrtho ei hun, trwy yr haf, i bregethu a thraethodu am fywyd. Mae ynddo ef gymhwysderau y llew a'r ŷdd yn gyssylltiedig, ac y maent yn ofynol ynddo er ei alluogi i deithio mynyddau noethlwm, daneddog, a thragywyddol Meirionydd.

Yr Henuriad Hugh Evans, a'r brodyr eraill ag sydd yn gweithio, ydynt ar gylch yn llafurus dros yr achos bob Sul. Mae y brawd Hugh Evans yn profi yn ei ymddygiad fod ei galon yn llosgi gan sel dros lwyddiant gwaith Duw—y mae yn gweithio bob dydd yn galed, yn cynnal teulu yn 6 mewn nifer, yn talu ei ddegwm, llywyddu y Gynnadledd yn rheolaidd, ac yn bwydo yr henuriaid, a'u llettyo.

Y brodyr Wm. Ajax a David John ydynt wedi gofalu yn dda am eu cynnadleddau a phregethu oddiamgylch yn y pentrefydd cylchynol lle yr oedd yn anghyfleus i'r rhai a weithient yn yr wythnos i fyned, gan adael traethodau yn mhob tŷ a'u cymmerent. Prydiau eraill elent i ffwrdd yn mhell i'r wlad i brofi y byd a'u hunain, heb bwrs nac arian. Gwnaeth eich gostyngedig frawd yr un modd, gan bregethu a thraethodu yn mhob lle a allaswn,

Hawdd ein hadwaen wrth ein gwaith, ein hamgylchiadau, a'n hysbryd—yr uchaf ei swydd yn flaenaf yn y rhan gasaf o'r gwaith—yn dweyd Dewch, ac nid Ewch, a Gwnewch fel yr wyf fi yn gwneud, ac nid eistedd ar ei *sofa* ac erchi fel *Lord.* Yr ydym ni oll yn un—un galon ac un gwaith, a dim un yn gweled gwaith ei frawd yn llai na'r eiddo ef.

Yn awr mae yr holl flychau llyfrau yn wag—miloedd o draethodau yn meddiant y bobl, a'r brodyr oll wedi cael eu galw yn ol, oddiar y cyntaf o'r mis hwn, a'u gollwng i fyned i weithio, llywyddion y cynnadleddau, a phawb ond myfi, (ac awn innau hefyd pe byddai hyny yn ddoethach,) a'u cenadiaeth ydyw ennill arian i ymfudo y tro nesaf: chwe' mis o amser sydd ganddynt i gyflawnu hyny a thalu a allont o'r dyled sydd am y llyfrau a ddosparthwyd. Talwn y cyfan os gallwn, ac os methwn, caiff ryw rai eraill, neu caiff fod fel dyled y goron—heb ei dalu byth.

Yr ydym mewn undeb a chariad, ac wrth fodd ein calonau. Yr ydym yn bedyddio rhai, ac mae ugeiniau yn darparu i ymudo tua Seion y tro nesaf. Amen..

Yr Eiddoch, J. E. JONES.

## ADOLYGIAD.

Ar y Traethawd, *Cyfeiliornadau a Dichellion Saint y Dyddiau Diweddaf, a Llyfr Mormon, yn cael eu Dynoethi, gan y Parchedig W. J. Morrish, a gyfieithwyd o'r Saesneg gan David Roberts, o Gaerynarfon.*

---

Ar gais amryw o Saint y Gogledd, y rhai a'n hysbysant fod cynhwrf adnewyddol oblegid y traethawd uchod, ceisiwn ddangos cymmaint o'i anghyssondeb ag a ganiata ein ychydig le i ni ei osod.

Yr awdwr, Mr. Morrish, sydd yn Offeiriad yn Eglwys Loegr, os iawn ddeallwn ei *Rybydd Cyntaf* at ei braidd,.

Wrth ddechreu ei Rybudd, cyfeiria at rwymedigaethau ei swydd bwysig—ei fod i osod i lawr bob cyfeiliornadau croes i Air Duw, trwy ei 'ordeiniad yn Weinidog Duw, trwy arddodiad dwylaw *Esgob Cristianogol*.'

Pwy, wyddys, a ordeiniodd yr Esgob? neu pwy a ordeiniodd Offeiriad cyntaf Eglwys Lloegr? Ysgymunwyd hi gydag anathemau ar ei phen oddiwrth Babyddiaeth, ac ni ddaeth un cenadydd dwyfol oddifry i ordeinio nac awdurdodu un o'i gweinidogion gwrthgiliedig; canys gwrthwyneba ein awdwr a'i frodyr cyflogedig yr athrawiaeth o weinidogaeth angylion yn y dyddiau hyn, o herwydd ei bod yn 'ddyeithr ac yn groes i Air Duw.' O ba le, ynte, yn wreiddiol, y daeth awdurdod y Parchedig hwn i fod yn Weinidog Duw?' Os ydyw offeiriaid Eglwys Lloegr dan y fath rwymau i gynnal athrawiaeth Gair Duw, paham na esgymunid Henri yr Wythfed am ei gythreuldeb, fel yr esgymunodd yr Eglwys Babaidd ef? a pha le yn Nghair Duw y ceir caniatad i ystranciau Henri?

Achwyna yr awdwr yn dost fod y 'Mormoniaid' yn llwyddiannus neillduol i 'ansefydlu meddyliau amryw Gristianogion duwiol, a dysgu iddynt athrawiaethau croes i Efengyl ein Harglwydd Iesu Grist,' a ffugia ei fod wedi 'ymchwilio i'w dechreuad,' fel nad eill gamsynied, debygem ni.

Cynnyrch yr ymchwiliad manwl hwn ydyw mai *Duw ei hun* a guddiodd llafnau Llyfr Mormon yn mynydd Cumora. Pa le, yn llyfrau y Saint, y cafodd yr ymchwiliwr manwl hwn y fath hanes? Yr oeddem ni yn deall mai Mormon, yn y flwydd

yn 384, ar ol Crist, a'u cuddiodd hwynt oll, oddieithr rhai a adawodd i'w fab, Moroni, yr hwn a gwblhaodd hanes ei genedl, ac a seliodd i fyny y cof ysgrifau yn y flwyddyn 421. A. C.

'Yn awr mae Duw yn ei drugaredd wedi caniatau i anwiredd yr haeriad gael ei brofi,' meddai yr ymchwiliwr. Amen, ddywedwn ni; ac annogwn y praidd i wneuthur eu hymchwiladau eu hunaino hyn allan.

Yn nesaf, cafodd yr *ymchwiliwr* afael mewn hen chwedl a wrthbrofwyd drosodd a thrsodd er ys blynyddau bellach, sef chwedl Spaulding. Cyfeiriwn ein darllenwyr i ddarllen Llyfr Mormon, a'r traethawd sydd yn gwrthbrofi chwedl Spaulding, a sicrhawn y cant foddlonrwydd hollol.

Wrth derfynu ei Rybydd cyntaf haera y Gweinidog duwiol(?) hwn fod y 'Mormoniaid' yn honi i Dduw ei hun ysgrifenu Llyfr Mormon *â'i fys!* tra y dengys y Llyfr ei hun, ynghyd a chyhoeddiadau y Saint mai dynion ysbrydoledig, mewn gwahanol oesau, a'i ysgrifenasant ar lafnau, ac i'r Gweledydd Joseph Smith ei gyfieithu i'r saesneg. Onid yw celwyddau hyll noeth yr *ymchwiliwr* yn chwyrnellu ei ddedfrydau yn ol ar ei ben ef ei hun? a gwirionedd a darana ateb y Prophwyd i Frenin Israel —TYDI *yw y gwr!*—tydi sydd 'yn ffugio bod yn Weinidog Duw —ei leferydd ef sydd wedi ei sylfaenu ar gelwydd—efe sydd yn gwybod am y twyll a arfera—oddiwrtho ef a'i frodyr ariangar, cyflogedig, ymffrostgar, y dylasai y bobl ymddidoli—ac efe a'i fath sydd yn cymmysgu ryw raddau o'r gwirionedd a'r *Common Prayer*, cyflog, a gwerthu *livings*. Efe sydd yn condemnio breuddwydion, datguddiadau, a gweledigaethau o angylion yn yr oes hon tra y dywed Joel y cant fod yn y dyddiau diweddaf, gan ddechreu gyda'r Iuddewon, a'u plant, a phawb, yn mhell, cynnifer a alwo yr Arglwydd ein Duw ni atto. Joel ddysgodd yr athrawiaeth ffol hyn, a Mr. Morrish, yr 'Esgob Cristionogol,' a holl eglwys Henri yr Wythfed a'i amheuodd. Hwynt hwy, ynte sydd yn dysgu athrawiaethau dyeithr a chroes i air Duw, ac athrawiaethau croes i Efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. Mae hono yn dyfod mewn nerth, ac yn yr Ysbryd Glân, ac mewn sicrwydd mawr, medd Paul. Gwrandewch chwi, O, Eglwyswyr; Os mai Gweinidogion Duw ydyw eich Hoffeiriaid, hwy a ddywedant wrthych 'Chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân'—addewid Joel—breuddwydion a gwel-

edigaethau fel y cafodd y Prophwyd Joseph Smith a'r Saint—eadarnhad y gair trwy amrywiol ddoniau yr Ysbryd Glân a'l arwyddion sydd yn canlyn gwir gredinwyr. Mae cynnifer a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato i'w derbyn, os coeliwn air digyfnewid Duw. Eithr rhaid i'r Gweinidogion fod wedi cael eu galw gan Dduw megis Aaron, ac nid megis Mr. Morrish a'r 'Esgob Cristionogol.'

Peth tra ynfyd yn ngolwg yr awdwr yw athrawiaeth yr ymgasgliad. Nid rhyfedd hyn, gan ei fod wedi cau ei galon yn erbyn pob peth 'dyeithr a newydd.' Diamheu ei fod ef a'r lleill o'r Offeiriaid a'r Esgobion Cristionogol yn gweled y byd yn myned yn y blaen yn gampus, fel ag y mae, heb i'r un o'r prophwydoliaethau sydd yn ngair Duw gael eu cyfiawni byth. Gan fod ein traethodau yn egluro athrawiaeth yr ymgasgliad ni ychwanegwn rhagor na chyfeirio yr awdwr a'i braidd i'w darllen, a pheidio a mesur y Saint wrth ei fesur ef ei hun. Hawyr! Offeiriaid yn Eglwys Loegr yn son mor ddigywilydd am elw bydol! Darllener erthygl Reynolds yn ein rhifyn hwn, a chaued yr Offeiriaid eu cegau mewn gwarth.

Am y tir a fedd y Saint yn yr America, mae i'w gael yn agos yn rhad, a hwythau yn *free holders* anymddibynol, heb un Offeiriad nac Esgob i lyncu eu degwm, na threthi na rentydd mawrion i'w cadw yn gaethion i fawrion segur.

Wrth derfynu ei Rybudd Cyntaf dymuna iddo gael priodol effaith ar ei braidd. Cawn weled os cafodd. Cyfeiria hefyd at rhybuddion Paul a Pedr. Dywedwn etto, Tydi yw y gwr! Tydi a'th frodyr sydd yn gwerthu *livings*, sef Gweinidogaeth plwyfau, yn cynnwys miloedd o eneidiau dynion, am gannoedd neu filoedd o bunnau, gan wneuthur marsiandiaeth o eneidiau dy braidd—tydi a'th Eglwys sydd yn methu goddef athrawiaeth iachus—cyflawniad o addewidion pendant Gair Duw, ac yn pentyrru athrawon cyflogedig, diog, balch, ymffrostgar, ariangar, a melys-chwannog.

Ymunwn a'n holl galon gyda yr awdwr i rhybuddio y praidd â'r adnodau a ddifyna ; canys *efe yw y gwr*.

Rhybudd 2,—Yr effaith priodol a gafodd Rhybudd y cyntaf ar y praidd a ganfyddir yn y difyniad a ganlyn,—

Fy anwyl Gyfeillion—Cyfeiriais lythyr atoch ychydig amser yn ol, i'ch rhybuddio yn nghylch y twyll a arferir tuag atoch

gan nifer o ddynion a alwant eu hunain "Saint y Dyddiau Diweddaf;" a chyda GOFID DWYS [cydymdeimlwn a thosturiwn dros y parchedig pan ystyriom ei gyflog!] yr ydwyf yn canfod LLAWER o honoch yn cymeryd eich harwain ar gyfeiliorn gan y gau athrawon hyn; a'r unig reswm ag a allaf ei roddi dros hyn ydyw, nad ydych yn deall *mewn gwirionedd* yr athrawiaethau a ddysgant i chwi.' Gallasai ychwanegu 'heb i mi wneuthur ychwaneg o *ymchwiliadau* drosoch, fel, os na ddeallwch mewn gwirionedd, y dealloch mewn *celwydd* o'm eiddo i!'

Achwyna y bugail nad ydyw ei braidd wedi eu selio yn ddigonol yn ffydd y *Common Prayer*, eu bod yn anwadal ac ansefydlog, ac yn awyddus i glywed rhywbeth newydd heblaw 'fel yr oedd yn y dechreuad y mae yr awr hon, &c., ac o herwydd eu bod yn credu henuriaid y Saint pan yn profi eu pynciau o'r beibl, tra y dylent sylwi ar ei ymchwiliadau ef i darddiad Llyfr Mormon, a chredu ei haeriadau ef yn Rhybydd yr ail,

Yn nesaf cawn gyfieithiad gwael oddiwrth dudalen gyntaf Llyfr Mormon—pa hanes ydyw—tystiolaeth tystion, &c., a bod yr Athrawiaeth a Chyfammodau yn dysgu bod 'egwyddorion Efengyl Iesu Grist yn y Beibl a Llyfr Mormon, yn yr hwn y mae cyflawnder yr Efengyl.' Mai hon yw unig eglwys Duw ar y ddaear, a bod Duw yn parhau i ddatguddio ei ewyllys. Ar ol hyna annercha ei braidd fel y canlyn:—

'Chwi a ganfyddwch fod y bobl hyn yn cymmeryd arnynt fod yn apostolion ac yn brophwydi o Eglwys Saint y Dyddiau Diweddaf—yr unig wir a bywiol eglwys ar wyneb y ddaear: ac fel y cyfryw dywedant wrthych nad yw Duw wedi datguddio yn y Beibl yr oll ag sydd yn ddigonol i iachawdwriaeth, ond eu bod hwy wedi eu danfon i hysbysu i chwi ddatguddiad newydd, yn yr hwn y mae cyflawnder yr Efengyl.'

Gallasant ganfod yr uchod heb gynnorthwy ei Rybydd ef; o blegid mai dyna beth oeddynt yn glywed gan bregethwyr y Saint. Sylwn etto ar y cynnygion egwan canlynol, i wrthbrofi yr athrawiaeth o ddadguddiad parhaus:—

'Yn awr, y gofyniad ydyw, A ydyw yr haeriad yma yn unol â'r Ysgrythyr? Dywedir wrthych (Rhuf. xvi. 25,) fod 'yr Efengyl a phregethiad Iesu Grist yn ol datguddiad y dirgelwch, yr hwn ni soniwyd am dano er dechreuad y byd,' &c. Cyfeiria

hefyd at Col. l. 25, Ioan xv. 15, a 1 Ioan ii. 20. Oddiwrth yr adnodau hyn y mae yn casglu fod holl gynghor Duw a'r holl a fwriadai Efe ddadguddio yn gynnwysedig yn y Beibl! Dyma enghraifft o ddysgeidiaeth golegawl y bedwerydd ganrif ar bumtheg! Braidd yr ystyriwn y fath sothach yn werth sylw!

Nid yw fod y Saint cyntefig yn meddu cyflawnder yr Efengyl ac wedi cael traddodiad iddynt o holl gynghor Duw ag ydoedd berthynol iddynt hwy yn un prawf fod hyny oll yn ysgrifenedig yn ychydig epistolau yr Apostolion atynt, y rhai a ysgrifenwyd pan y methai yr ysgrifenydd ymbresennoli, ac nid oes ond darn yma a darn acw o ddysgeidiaeth Crist, tra y dywed Ioan 'na chynnwysai y byd y llyfrau,' &c. Heblaw hyn mae amrai lyfrau ar goll, ac er hyn oll haera ein parchedig awdwr fod *holl gynghor ac ewyllys Duw yn gynnwysedig yn y Beibl!* Llyfrau gwasgaredig y Beibl a grynhöwyd yn nghyd ac a ffurfiwyd yn gyfrol gan haid o offeiriaid llygredig, y rhai a gymmerasant arnynt yr hawl o gau y nefoedd yn erbyn cyflwyno ychwaneg o ddatguddiadau, ac i ddethol y llyfrau a ystyrient hwy yn ysbrydoledig, a'u ffurfio yn *Feibl*, gan daflu o'r neilldu yr hyn ni chydunai a'u harchwaeth: ac ar ol hyny ychwanegwyd y *Common Prayer.* Cydnebydd ein awdwr fod yn angenrheidiol i'r disgyblion gynt gael yr Ysbryd Glân i'w harwain i wirioneddau dwyfol yr Efengyl: paham, ynte, y mae efe yn ei wadu tra mae y Beibl yn ei addaw i bob crediniwr a eilw Duw? (Actau ii.)

Y cyhuddiad nesaf yn erbyn y Saint ydyw 'gwadu fod y Beibl yn bur air Duw, a'i roddi heibio yn hollol.' Ceisia yr awdwr dwyllo ei braidd i gredu hyny trwy y dernyn canlynol a ddirdynodd allan o ddatguddiad yn nosran 47 o'r Athrawiaeth a Chyfammodau. (Mae cyfieithad D. Roberts yn gwahaniaethu oddiwrth cyfieithad yr Ath. a Chyf.)

'Wele, yr wyf yn dywedyd wrthych, fy mod wedi achosi i'r holl hen gyfammodau gael eu rhoddi heibio yn y peth hwn, ac y mae hwn yn gyfammod newydd a thragywyddol.'

Trwy dwyll ymresymu a darnio ymaith gymaint o'r datguddiad a wasanaethai i'w bwrpas dichellgar, haera mai cyfammod y Testament Newydd a rinwedd yr Iawn yw y peth a ddiléa y datguddiad a dalfyra ac a liwir mor warthus!

Yr un Cyfammod, a'r un Eglwys ddwyfol sydd wedi cael ei chyflwyno o'r newydd i'r Saint yn yr oes hon ag a fodolai yn

y dyddiau cyntefig, ac mae y datguddiad dan sylw yn dweyd hyny! eithr cymmerodd yr awdwr dichellgar ofal i adael hyny allan. Cyfeiria y datguddiad at bobl a gredasant fod y bedydd cyntaf a gawsant yn ddigonol heb gael eu bedyddio drachefn. Dyma fel y ceisia y bugail cyflogedig hwn gadw ei braidd hudoledig rhag 'ansefydlu yn eu meddyliau!'

Yn yr un dull y mae y gwedill o'r Rhybudd yn trin amryw ddatguddiadau &c. eraill i geisio profi y cyhuddiadau o wadu rhinwedd yr Iawn, gallu Duw, a phregethu teyrn-fradwriaeth. I gael deall yn amgen cyfeiriwn ein darllenwyr i ddarllen yr Athrawiaeth a Chyfammodau drostynt hwy eu hunain.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, MEDI 26, 1857.

Ein hymdaith tua chymanfa Brycheiniog a thrwy ranau o Mynwy a Dwyreiniol Morganwg, yn nghwmpeini ein cynghorwyr teilwng a'r Henuriad A. Calkins, o Swyddfa Lerpwll a fu yn leshad mawr i ni, ac, hyderwn yn fendith i'r Saint. Cawsom bob gwir Sant yn y sefyllfa a ddysgwyliem iddynt fod—yn llawn o oleuni yr Ysbryd Glân yn prysur ddisgwyl yr amser drwg sydd wrth y drws, ac yn ymddarparu yn gyferbyniol. Rhodio yn addas—rhybuddio y byd mewn sobrwydd a geiriau digamsyniadol, trwy bregethu a thraethodu—cadw trefn y nef gartref—ymgynnilo, talu degwm yn onest, gan ystyried fod Duw a'i lygad arnynt, ac achub pob ceiniog a ellid er ymfudo mor fuan ag y bo' modd. O! mor rhyfedd mae y ffordd wedi agor. Tystiodd amryw frodyr a feddent deuluoedd e[illegible] od yn dlawd, a rhai mewn dyled, cyn iddynt gydymffurfio â'r [illegible]wygiad a dechreu talu eiddo Duw i Dduw, Yn fuan wedi h[illegible] y daethant yn alluog i dalu eiddo Cesar i Cesar, a chynny[illegible] [illegible]ant yn eu cyflogau a'u hennill, a Duw ar ol cael ei brofi yn [illegible], yn arllwys bendithion, hyd nes nad oedd lle i'w dal heb eu danfon i'r Swyddfa erbyn eu hymfudiad. Gallem

lanw rhifyn o'r Udgorn â thystiolaethau o'r fath. Eithr drwg genym orfod taflu cysgod tywyll dros y darlun teg! Mae rhai yn peidio ymddegymmu yn onest—yn ofni profi Duw pa un a dywallta Efe iddynt fendith, hyd nes na chaffont le i'w dal. (Malachi iii. 10.) Mae y bennod hon, heblaw cyfeirio at blant Judah gynt, yn cyfeirio at y dyddiau diweddaf, pan yr ymgasglai Israel i Seion a Jerusalem, ac yr adeiladent Deml Mae y rhai sydd yn hannerog ac anghywir yn naliad y degwm yn ddiau yn euog o'r cymmeriad o 'ysbeilio yr Arglwydd;' ac yn tynu ei 'felldith,' fel y dengys adnod 9 o'r bennod a nodwyd. Darllener hi oll, a llawenhaed y Saint am gael eu geni yn yr oes wynfydedig (iddynt hwy) yn mha un ei chyflawnir, ac am y fraint o'gynnorthwyo, trwy eu degwm, i adeiladu Teml Duw. Ofned yr anufydd a'r drygionus y rhai a ddywedant 'Oferedd yw gwasanaethu Duw: a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion Ef?' canys yn nydd trallod, *yr hwn sydd wrth y drws*, ei 'Eiddo Ef,' y rhai a fyddant wedi 'meddwl am ei Enw,' yn unig a 'arbed Efe megis yr arbed gwr ei fab sydd yn ei wasanaethu.' Bydd rhai diog, difater, ac anghyfiawn a elwir yn Saint yn fuan yn WYLO mewn chwerwder enaid am beidio mawrhau y cyfleusderau a gawsant. Saint, oni wyddoch chwi ddiysgogrwydd a sicrwydd gair Duw trwy ei weision ysbrydoledig, a'u bod yn Seion yn darparu gogyfer a rhyw beth sydd yn agos cyrhaedd, ac oni ddylem ni wneuthur ein rhan?

---

ERLIDIGAETH GREFYDDOL—" *Y Mormoniaid*—Mae y sect hudoledig hon yn ddiweddar wedi bod yn dal allan mewn amryw lefydd cymmydogaethol i'n tref ni, (Abertawy.) ac ymddengys eu bod wedi cyrhaedd rhywbeth fel 'cadarn-le' yn Llansamlet. Ar y Sul diweddaf, (y 13eg) modd bynnag, darfu iddynt ddiflasu eu gwrandawwyr gymmaint â'u pregethau llygredig a chwithig, a'u haeriadau mewn perthynas i'r twyllwr Joe Smith, fel y lluchlwyd hwynt â chabbage. pytato, afalau, &c., a gorfodwyd hwynt i encilio yn ebrwydd gyda gwawd a senau 200 neu 300 o bobl."—*Cambrian*.

[Dyma enghraifft arall o 'Gristianogaeth' ymffrostiol y bedwerydd ganrif ar bumtheg! A eill yr asp enllibaidd, y *Cambrian* ddangos lle mae ei Feibl yn cefnogi a chanmol erlidwyr a difenwyr, a gofynwn o ba ddosparthiadau mae yr erlidwyr a'r er-

lidiedig—yr hwn sydd yn taro a'r hwn sydd yn troi y rudd arall? Fe ddaw, yn fuan, gryfach pregethwyr na'r Saint pan y dichon na fydd y *cabbage*, pytato, nac un trugareddau eraill mor ddigonol!]

SYLWER.—Mae amryw locustiaid yn ddiweddar wedi talu ymweliad â gwahanol barthau o'r Ynysoedd Prydeinig, ac yr oedd un a brofwyd mewn iechyd ag archwaeth rhagorol. Darllenwn i ychydig o ysbiwyr fyned o flaen y fyddin i wlad Caanan: nid yw y drefn hyny yn annichonadwy etto.

O'R GWASTADEDD.—Rhwng colled anifeiliaid trwy yr Indiaid, trefniadau drwg, ofn cael byw mewn pabellau y gauaf dyfodol, a ffoad ymaith y fath niferoedd o'r milwyr o'r herwydd, mae yr ymgyrch filwraidd i Utah wedi troi allan yn warth a gwaradwydd ar y llywodraeth Americanaidd!

Mae yr Express Company yn lluniaethu eu gorsafau ar hyd y Gwastadedd yn gampus. Bydd hyn yn fendith anmhrisiadwy i ymfudwyr,

---

## NEWYDDIADUR REYNOLDS, SECTARIAETH, A MORMONIAETH.

Cynnwysa y newyddiadur uchod am Medi 13, erthygl ydd-orol ar y "*Mormoniaid a'r Offeiriai.*."

Sylwa fod Nena Sahib a Brigham Young wedi dinystrio heddwch, archwaeth a synwyr y *Times* crefyddol am byth. Tra mae un yn lladd ein cydgenedl wrth y miloedd yn y Dwyrain, fod y llall yn en denu wrth y miloedd i'w baradwys sydd yn y gorllewin pell. Mae y *Times* yn rhyfeddu pa le mae yr Offeriaid, a pha beth y maent yn ei wneuthur wrth adael eu plwyfau i gael eu gwaghau o filoedd o bobl o dan eu trwynau!

I'r gofyniad Pa beth mae yr offeiriaid yn ei wneuthur; dyry y 'Reynolds' ateb, a hyny yw "ymaent yn gwneuthur fel arfer —yn amddiffyn drygau a fodolant, yr hyn sydd yn tueddu i chwanegu at rhifedi Brigham Young. Maent yn gyru y tlodion mewn amddifadrwydd anobeithiol i geisio noddfa rhag eu hysbeilwyr eglwysig, yn nhiriogaeth bellenig y Mormoniaid. Mae yr offeiriaid, gydag ychydig eithriadau anrhydeddus, yn ymwneyd a'u hen orchwyl o wenu ar y cyfoethog, a gwgu ar y tlawd—yn gweniaethu a phlygu i frenhinoedd, mawrion, a chy

foethogion, ac yn ceryddu yn y modd llymaf, feiau ysgafn y bobl gweithgar. Mae hyn yn rhan, ond nid yr holl o'r hyn y maent yn ei wneuthur; y maent hefyd yn ymwneyd a chynnyddu eu trysor bydol, a llaw'er o honynt wedi llwyddo i gyflawni yr hyn a gyhoeddodd y Meistr mawr yn anmhosibl. Maen't yn gwasanaethu Duw a Mammon—neu fel ei eirir gan un o honynt hwy 'yn gwneuthur y goreu o'r ddau fyd.' Adnabyddir amrai offeiriaid yn mysg y rhai cyflymaf o'n gwŷr busnesol. Mae rhai o honynt yn ddalwyr mawrion rhanau mewn gorchwylion *Stock Jobbing* a *Swindling*. Y maent yn ddelwyr helaeth mewn ysgrepiau rheilffordd ac ereill; anrhydeddir hwynt yn Capel Court, ac adnabyddir hwynt ar y "Stock Exchange' prynant ystadoedd tirawl, ychwanegant dŷ at dŷ, prynant gommisiwnau i'w meibion yn y fyddin, &c; dyfeisiant am wŷr arglwyddiaethol i'w merched, ac ant i lawr ar eu boliau o flaen unrhyw ddyn mawr, neu swyddwr llywodraethol, er mwyn elw bydol. Ddim ond £50,000 a adawodd Esgob Llundain i'w blant, tra yr ystyrid y gallasai bod wedi pentyru llawer mwy allan o'r gyflog flynyddol ddirfawr a bocedoedd am gynniter o flynyddoedd. Dywedir nad oedd hyn i'w gydmaru ag eiddo esgobion ereill, ac, os felly, pa beth yw enw'r Nef, ydyw swm cyffredin acarferol pentyriaeth 'Gwir Barchedig Dad yn Nuw'? Gwyddom ei fod yn £50,000 yn ddyblyg a dauddyblyg, ac nid yn anaml yn fwy na hyny. Pa beth a dywedai y pabell wneuthurydd Paul, a'r pysgotwr Pedr, wrth y fath olynwyr ni wyddom, er ein bod yn credu nad arddelai yr hynafiaid hyny y fath Gristionogion ariangarol, ac fod Apostol arall a arferai ddelio mewn ysgript a chario y cwd yn fwy tebyg o fod yn gyn-dad ysbrydol ein arianwyr eglwysig na'r dynion tlawd a chaled weithgar, i ba rai yr ymddiriedwyd cyhoeddiad cyntaf-gwirioneddau syml a rhwydd y grefydd Gristianogol I dreiglo mewn cerbydau clystogog velvetaidd—i gael dysgwyl atynt gan haid o weision blawdiog a phlwshiog—i fyw mewn palasau gwych ddodrefnog a bras fwydog—i yfed y gwinoedd goreu—i gadw y gordderch wragedd tecaf—i farw yn arogl sancteiddrwydd, ac i un adael i'w ettifeddion £50,000, £100,000, ..0,000—y maent yn lled debyg o fod yn gwneuthur y goreu o'r byd hwn, eithr ei fod y ffordd ddiogelaf i wneuthur y goreu o'r nesaf, nid yw mor sicr."

Yna â i mlaen i annog yr offeiriaid i hunan-ymwadu a pharchu y tlawd, fel y gwna yr henuriaid Mormonaidd, fel na orfodir pobl i ffoi tua Utah er achub eu hunain o'r *work-house*, eu meibion rhag y carchar, a'u merched o'r heolydd. Er nad yw yn canmol Mormoniaeth, dywed ei bod "yn rhywbeth sylweddol mewn cyfnewidiad am gydymdeimlad gwag, ffurfiau dinôf, cibau crefyddol, a digalonog ddirym Gristianogaeth y rhai, yn y dydd presennol ydynt nwyddau masnach y pwlpud yn yr Ynysoedd Prydeinig"

## "LIVING" AR WERTH

Mae *Punch* wedi cael cryn ddifyrwch am fynegiad haerllug yn y *Times* ac yn dweyd ei fod yn agoriad cyfleus i Offeiriad diog—yn swydd segur sydd yn cyrhaedd tua £370 y flwyddyn a'r gwerthydd yn 58 oed. *Arian* a brynant ofal yr eneidiau a meddiant y gyflog yn dalp heb dynu condemniad Simon Magus meddai *Punch*. Mae gan y gwerthydd *living* arall, werth £700 y flwyddyn, yn Swydd Essex, ac yn pregethu yr Efengyl (?) yn Chelmsford am £800 y flwyddyn, heblaw tramwy y prif ffyrdd a'r caeau i ddal eneidiau yn y cylch o Ddeon gwledig Rochester. Gan fod ei Barchedigaeth yn 58 mlwydd oed, a chanddo gynnifer o fanau, ofnir y gweithia ei hun i farwolaeth!

## DIWEIRDEB OFFEIRIAD O EGLWYS LLOEGR.

Mae y Parchedig Wm. B. Sutherland, o ddinas Burlington, o'r diwedd wedi cael ei ddynoethi yn ei hen arferiad o geisio a dystrywio merched ieuainc. Tua mis cyn iddo gael ei ddal yr ydoedd wedi ceisio ei forwyn, Teressa Gilbert, 23 oed, ar y diwrnod cyntaf o'i gwasanaeth, i eistedd wrth ei ochr ar y *sofa*, a darllen pennod iddo, yr hyn a wnaeth. Yna cymmerodd y Beibl o'i llaw, a dechreuodd drafod ei chorff, a hi a gyfododd, ac a aeth allan, gan ddweyd ei bod yn myned ffwrdd; cymhellodd hi i aros gan gynnyg iddi wisg sidan a modrwyau aur, y rhai a wrthododd. Tro arall aeth atti i'w gwely, gan ofyn iddi aros. Ond hi a fygythiodd godi twrw, am yr hyn y ffyrnigodd efe, ac wedi iddi hysbysu ei wraig efe a'i troediodd

hi allan o'r tŷ. Er iddi hi dyngu byn o flaen yr ynad, ni chredai yr eglwys ei thystiolaeth.

Yn mhen tua mis wedi hyny, er ys ychydig amser yn ol, yr Offeiriad a lwyddodd, i dreisio merch ieuanc, tua 15 oed. Ni wnaeth yr adyn ond braidd dianc rhag tad cynddeiriog ac arfog y ferch, neu buasai efe yn cael rhoi iawn am ei bechodau gwarthus. Mae efe wedi ffoi lle na ŵyr neb, meddai y newyddiaduron.

---

## LLWYDDIANT TEYRNAS CRIST.

Efengyl y deyrnas sy'n llwyddo,
  Trwy allu anfeidrol ein Ior;
Yn fuan hi leinw'r holl ddaear,
  Fel töa y dyfroedd y môr.
Gwna, gwna, fel töa y dyfroedd y môr.

Dadwreiddir yr hen draddodiadau,
  A'r gwag seremoniau o'r bron;
Tywyllwch caddugawl alltudir,
  Goleuni cyfiawnder yw hon.
Clywch, clywch, goleuni cyfiawnder yw hon.

Teyrnasoedd a'u mawredd ysgydwir.
  Drwg ddeddfau ddifodir i gyd;
Ac yna deddf Ysbryd y bywyd
  Fydd safon rheoliad ein byd,
Bydd, bydd, fydd safon rheoliad ein byd.

Y 'gareg' yn gadarn orchfyga—
  Maluria deyrnasoedd y byd;
Dosrhanau'r cyn ddelw ganfyddwyd,
  Chwilfrywir—hwy gwympir i gyd.
Braint, braint, chwilfrywir—hwy gwympir i gyd.

Yn mlaen megis maen adamentaidd,
  A chyflym fel mellten â hon;
Breninoedd a mawrion gwladyddol
  Lewygant mewn braw ger ei bron,
Clywch, clywch, llewygant mewn braw ger ei bron.

Mor fechan yr oedd pan ei thorwyd,
  Ond diolch, cynnydda bob awr,
Yn fuan fe'i gelwir hi'n fynydd,
  Heb fesur na phwysau—un mawr,
Clod, clod, heb fesur na phwysau—un mawr.

Breniniaeth ein Tad gynfodolodd,
  Yn ebrw[illegible] s nen;
Ei deddfau nefolaidd adferir
  Er dwyn ei fwriadau i ben.
Hoff, hoff, er dwyn ei fwriadau i ben.

Nefolaidd fydd Brenin adeddau.
  A swyddwyr y deyrnas fawr hon;
Mawrhant eu holl gylchoedd godidawg,
  Yn rhwysgfawr, ar lwch Babilon,
Clywch, clywch, yn rhwysgfawr ar lwch Babilon.

Cawn fedi ein maesydd mewn heddwch,
  'Rhai hauwyd trwy'r cleddyf a gwaed;
Cawn weled ein Hiesu'n bersonawl,
  Ar ddelw glân berson ei Dad.
Gwir, gwir, ar ddelw glân berson ei Dad.

Melldithion anwnaidd ddiflanant,
  O flaen grym santeiddrwydd ein Duw;
Gwir brifnod yr oesoedd a ddeuant,
  Fydd heddwch a chariad, gwir yw,
Hoff, hoff, fydd heddwch a chariad gwir yw.

Arddelwad Eloheim anfeidrol,
  Dderbynia myrddiynau o'r Saint;
A'n daear gyssylltir â Kolob,
  Hyn fydd i'r brodorion yn fraint.
Hoff, hoff, hyn fydd i'r brodoriou yn fraint.

Draw, draw, gwelaf hi yn rhy gyfyng,
  I gynnwys ei deiliaid ei hun;
Adleisia rhyw filoedd newyddion,
  Gwnewch fyd newydd eto, a dyn,
Clywch, clywch, gwnewch fyd newydd, eto a dyn.

3

Creawdwyr a greuant o'r newydd,
Iachawdwyr newyddion a ddaw;
A bodau a lenwir â'r Duwdod,
Dysgwyliaf wel'd hyn heb un braw.
Gwnaf, gwnaf, dysgwyliaf wel'd hyn heb un braw.

Y Duwiau goruchel ymwelant
A'n daear heb soriant rhyw bryd;
A'i holl breswylyddion nefolwych,
A ddawnsiant mewn moliant ynghyd.
Clywch, clywch, hwy ddawnsiant mewn moliant ynghyd.

Glân fodau fyrddiynau'n drag'wyddol,
Genhedlant ysbrydion mal Duw;
Y cyfryw mewn cyfnod dyfodol,
Cant oll dabernaclau i fyw.
Hoff, hoff, cant oll dabernaclant i fyw,

Am derfyn ar gynnydd y deyrnas,
Yn ofer ddysgwylid dros fyth,
Un hynod o'i milwyr a frwydrodd,
Nid ofer, yw'n Prophwyd hoff Smith.
Clywch, clywch, nid ofer, yw'n Prophwyd hoff Smith.

Fflint Medi 20, 1857. DAVID JOHN

☞ Parhäed Llywyddion y Cynnadleddau i dalu symiau o'r degwm i'r swyddfa hon hyd oni ddelo dyled eu Cynnadleddau lawr i'r ffigwr ag oedd Mehefin 30, 1856. trwy wneuthur yr hyn y talir am y traethodau &c., ag oeddynt i ddyfod o'r degwm. Hyderwn fod y traethodau yn cael eu cadw mewn cyffroad o hyd mor belled ag y gellir, fel y cyflawnont ddyben eu cyhoeddiad, ac y rhybyddir y cenedloedd.

NEWYDDION DIWEDDARAF.—Taylor wedi cyrhaedd y Dyffryn —heddwch, llwyddiant. a chyflawnder yno—cnydau ryfeddol doreithiog. Mae y Llywodraethwr newydd a'r milwyr wedi ail gychwyn. Gwrthbrofwyd y cyhuddiadau yn erbyn y Llywydd Young i foddlonrwydd Llywydd yr Unol Dalaethau.

CYMMANFA Sir Fynwy a gynneir Medi 27; Dwyreiniol Morganwg Hyd, 4; Caerdydd, 11eg; Gor, Morganwg, 18fed. Bydd y Llywyddion Pratt a Benson yn bresennol yn yr olaf. Ceir gwybod yn mhellach etto,

CYNWYSIAD.



ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS, ABERTAWY.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 21.] HYDREF 10, 1857. [CYF. X.

## DYSGEIDIAETH Y LLYWYDD BRIGHAM YOUNG.

*Bowery, Dinas Ll. H. Mawr, Gorphenaf 26, 1857.*

Darllenaf rhan o ysgrifeniadau y Prophwyd Daniel, gan ddechreu ar adnod 27 o'r ail bennod.

27. Attebodd Daniel o flaen y brenhin, a dywedodd, Ni all doethion, astronomyddion, dewiniaid, na brudwyr, ddangos i'r brenhin y dirgelwch y mae y brenhin yn ei ofyn:

28. Ond y mae Duw yn y nefoedd yn datguddio dirgeledigaethau, ac a fynegodd i'r brenhin Nebuchodonosor beth a fydd yn y dyddiau diweddaf. Dy freuddwyd a gweledigaethau dy ben yn dy wely ydoedd hyn yma:

29. Ti frenhin, dy feddyliau a godasant yn dy ben ar dy wely, beth oedd i ddyfod ar ol hyn: a'r hwn sydd yn datguddio dirgeledigaethau, a fynegodd i ti beth a fydd.

30. Minnau hefyd, nid o herwydd y doethineb sydd ynof fi yn fwy na neb byw, y datguddiwyd i mi y dirgelwch hwn, ond o'u hachos hwynt y rhai a fynegant y dehongliad i'r brenhin ac fel y gwybyddit feddyliau dy galon.

31. Ti frenhin oeddit yn gweled, ac wele ryw ddelw fawr: y ddelw fawr hon, yr oedd ei dysgleirdeb yn rhagorol, oedd yn sefyll gyferbyn a thi; a'r olwg arni ydoedd ofnadwy.

32. Pen y ddelw hon ydoedd o aur da, ei dwyfron a'i breichiau o arian, ei bòl a'i morddwydydd o bres,

33. Ei choesau o haiarn, ei thraed oedd beth o honynt o haiarn, a pheth o honynt o bridd.

34. Edrych yr oeddit hyd oni thorwyd allan garreg, nid trwy waith dwylaw, a hi a darawodd y ddelw ar ei thraed o haiarn a phridd, ac a'u maluriodd hwynt.

35. Yna yr haiarn, y pridd, y pres, yr arian a'r aur, a gydfaluriasant, ac oeddynt fel mân us yn dyfod o'r lloriau dyrnu

hâf; a'r gwynt a'u dug hwynt ymaith, ac ni chaed lle iddynt' a'r garreg yr hon a darawodd y ddelw a aeth yn fynydd mawr ac a lanwodd yr holl ddaear.

36. Dyma y breuddwyd: dywedwn hefyd ei ddehongliad o flaen y brenin.

37. Ti frenhin wỳt frenhin brenhinoedd: canys Duw y nefoedd a roddodd i ti frenhiniaeth, gallu, a nerth, a gogoniant.

38. A pha le bynnag y preswylia plant dynion, efe a roddes dan dy law fwystfilod y maes, ac ehediaid y nefoedd, ac a'th osododd di yn arglwydd arnynt oll: ti yw y pen aur hwnw.

39. Ac ar dy ol di y cyfyd brenhiniaeth arall îs na thi, a thrydedd frenhiniaeth arall o bres, yr hon a lywodraetha ar yr holl ddaear.

40. Bydd hefyd y bedwaredd frenhiniaeth yn gref fel haiarn: canys yr haiarn a ddryllia, ac a ddofa pob peth: ac fel haiarn, yr hwn a ddryllia bob peth, y maluria ac y dryllia hi.

41. A lle y gwelaist y traed a'r bysedd peth o honynt o bridd crochenydd, a pheth o honynt o haiarn, brenhiniaeth ranedig fydd; a bydd ynddi beth o gryfder haiarn, o herwydd gweled o honot haiarn wedi ei gymmysgu â phridd cleilyd.

42. Ac fel yr ydoedd bysedd y traed peth o haiarn, a pheth o bridd; felly y bydd y frenhiniaeth, o ran yn gref, ac o ran yn frau.

43. A lle y gwelaist haiarn wedi ei gymmysgu â phridd cleilyd, ymgymmysgant â had dyn; ond ni lynant y naill wrth y llall, megis nad ymgymmysga haiarn â phridd.

44. Ac yn nyddiau y brenhinoedd hyn y cyfyd Duw y nefoedd frenhiniaeth yr hon ni ddistrywir byth: a'r freniniaeth ni adewir i bobl eraill; ond hi a faluria, ac a dreulia yr holl frenhiniaethau hyn, a hi a saif yn dragywydd.

45, Lle y gwelaist dorri carreg o'r mynydd, yr hon ni thorâ llaw, a malurio o honi yr haiarn, y pres, y pridd, yr arian a'r aur, hysbysodd y Duw mawr i'r brenhin beth a fydd wedi hyn; felly y breuddwyd sydd wir, a'i ddehongliad yn ffyddlawn.

46. Yna y syrthiodd Nebuchodonosor y brenhin ar ei wyneb, ac a addolodd Daniel; gorchymynodd hefyd am offrymu iddo offrwm ac arogl darth.

47. Attebodd y brenhin a dywedodd wrth Daniel, Mewn gwirionedd y gwn mai eich Duw chwi yw Duw y duwiau, ac Arglwydd y brenhinoedd, a datguddiydd dirgeledigaethau, o herwydd medru o honot ddatguddio y dirgelwch hwn.

48. Yna y brenin a fawrygodd Daniel, ac a roddes iddo roddion mawrion lawer; ac efe a'i gwnaeth ef yn bennaeth ar holl dalaeth Babilon, ac yn ben i'r swyddogion ar holl ddoethion Babilon.

49. Yna Daniel a ymbiliodd â'r brenhin, ac yntau a osododd Sadrach, Mesach, ac Abednego ar lywodraeth talaeth Babilon; ond Daniel a eisteddodd yn mhorth y brenhin.

Mae yr adnodau hyn o honynt eu hunain yn destun a thestunau—yn bregeth a phregethau.

Yr ydym yn cael llawer o lefaru, pregethu, annog, cynghori rhoddi cyfarwyddyd, &c. o'r esgynlawr hwu, ac mewn amryw lefydd ereill, lle yr ymgynnulla y Saint, eithr feallai mai cyffelyb yw gan amryw, fel y mae yn dueddol i mi, eu bod i ryw fesur yn esgeuluso darllen y Beibl, ac anghofio llawer o bethau a ysgrifenir ynddo. Feallai y fod llawer nad ydynt wedi darllen llawer yn y Beibl, oddiar pan y daethant i mewn i'r Eglwys hon, gan nad oedd ganddynt llawer o amser i wneuthur hyny.

Yr oeddwn i yn Feibl-ddarllenydd cyn i mi ddyfod i mewn i'r Eglwys ac mor belled a berthynai llythyren y llyfr yr oeddwn yn ei ddeall. Proffeswn fod yn Gredinwyr yn y Beibl mor belled ag y gwyddwn pa fodd; eithr am ddeall wrth Ysbryd yr Arglwydd, ni fedrais erioed, cyn i mi ddyfod yn Sant y Dyddiau Diweddaf. Yr oeddwn lawer gwaith, wedi darllen dehongliad Daniel o freuddwyd Nebuchodonosor, ond yr oedd bob amser yn bwnc tywyll i mi. Adwaenwn yn dda amryw o offeiriaid y dydd, a meddyliwn yn aml ynof fy hun y caffwn ryw wybodaeth oddiwrthynt. Ac fel y daethym yn adnabyddus ag offeiriaid cyflym, call, a llenyddol, a phroffeswyr crefydd, meddyliais, yn awr mi a allaf gael ryw hysbysiad oddiwrth y dyn hwn neu y dyn arall, a dechreuwn ofyn cwestiynau ar rhai testunau o'r ysgrythyr, eithr gadawsant fi bob amser fel y cawsant fi—yn y tywyllwch. Yr oeddynt yno eu hunain, a gwyddwn yn siwr, cyn i mi glywed yr Efengyl, fod yr offeiriaid yn arweinyddion dall yn tywys y dall, ac nad oedd ganddynt ddim i wneuthur ond llithro yma ac acw, ac feallai syrthio i ffôs. Meddianwn gymaint a hyna o wybodaeth, cyn i mi ddyfod yn adnabyddus â'r hyn a elwir 'Mormoniaeth,'

Byddai yn llesiol iawn i drigolion y ddaear hon ddysgu un ffaith, yr hon y mae ychydig iawn yn y byd wedi ei dysgu, h. y., eu bod yn anwybodus—nad oes ganddynt y ddoethineb, y wybodaeth, a'r ddeallwriaeth tuallan i'r cylch o'r hyn a elwir doethineb dyn. I bersonau wybod a deall eu talent eu hun, eu nerth eu hun, eu gallu eu hun, a'u dylanwad eu hun fyddai yn llesiol iawn i drigolion y ddaear, er mai ychydig iawn sydd yn ei ddysgu.

Ni wn fy mod yn teimlo yn neillduol o ddiolchgar i mi dysgu yr hyn a ddysgais mewn perthynas i'r diffyg o ddealltwriaeth a gwybodaeth, a hona Gristionogion ei fod yn eu meddiant, eithr yr ydwyf wedi bod yn ddiolchgar bod fy rhan a'm ffortun yn gyfryw ag i'm Duw roddi i mi synwyr da, cryf; yr ydwyf yn ddiolchgar am hyny. Pan ddaeth yr Efengyl ataf, gallwn yn sicr, o'm mewn ac o'm amgylch, eglur weled pa beth a feddyliai yr Apostol yn y geiriau 'pan ddaeth y gorchymyn bywhaodd pechod, a marw minnau.'

Gallaswn eglur weled pa le yr oedd trigolion y ddaear yn en sefyllfa o flaen eu Duw. Yr holl fyd, pob peth ar y belen hon

ydoedd ymlenedig mewn tywyllwch. Yr oedd yno darth, niwl, llèn neu glawr dros feddyliau yr holl bobl ar y ddaear hon, a'r hyn oll ag oeddynt hwy yn medru ei ddeall nid ydoedd yn amgen i lewyrchiad gwan goleuni a ddysgleiriai am ennyd o flaeu eu llygaid, ac ni welant ef mwy. Yr oeddynt megis llong niwl-gylchynedig ar y weilgi, ac yn ymddibynu am arweiniad ar oleu-dy, llewyrchiadau ysgogiadol yr hwn ni chanfyddid ond ar droion anaml, pan y gellid ail gyfeirio y llong yn gywir. Eithr y gwynt sydd wedi symud, ac heb oleuni na chwmpawd ni wyddont pa un a'i yn ddwyreiniol, gorllewinol, gogleddol neu ddeheuol, ac yna pa fodd gallent ddweyd pa un a oeddynt yn cyfeirio eu llwybr yn iawn ? Y byd Cristianogol, mi gefais allan, ydoedd megis cadben a morwyr llong ar y weilgi heb gwmpawd, ac yn cael eu cylch daflu i ba le bynnag yr ewyllysiai y gwynt eu chwythu. Pan ddaeth y goleuni attaf fi, mi a welais fod yr holl gyfenwedig fyd Cristianogol yn ymbalfalu yn y tywyllwch.

Proffeswn ni feddu y goleuni, y dealltwriaeth, a'r wybodaeth â pha rai i ddeall pethau Duw. Mae breuddwyd Nebuchodonosor a'r dehongliad gan Daniel mor eglur i'r dyn a'r fenyw ag ydynt yn llawn o nerth yr Ysbryd Glân, ag ydyw y gwersi mwyaf cyffredin i blant ysgol; deallant y dehongliad yn y modd egluraf. Gwelodd Daniel mai yn y dyddiau diweddaf yr oedd Duw yn myned i osod i fyny ei deyrnas ar y ddaear hon. Mae Efe wedi gosod y deyrnas hono i fyny, fel yr 'ydych chwi sydd yma heddyw yn dystion.

Pa beth a'ch dygodd chwi o'r Taleithiau a chylchoedd eraill i'r mynyddau hyn? Pa beth a achosodd i'r dynion a'r benywod o'm blaen i adael eu ffermydd a'u tai gwych, eu marsiandiaeth, a'r holl foethau a chysuron bywyd mor anwyl i'r dyn anianol? Pa beth a achosodd i lawer o fenywod adael eu gwŷr, eu plant, a'u rhieni? Pa beth a achosodd hyn oll? pa beth yw y reswm am y fath ymddygiad? A eill undyn ddywedyd? Mae y byd yn ceisio dywedyd; eithr maent yn fwy anwybodus o'i blegid nag ydynt o symudiadau a bwriadau presenol Llywydd yr Unol Daleithiau Ni wyddont y reswm fod y bobl yn ymgynnulledig yma, canys ni allant ac ni fynant weled a deall un dim ond fel ei canfyddont drwy allu y dyn anianol.

Dywedais wrrhynt lawer gwaith, a gallaf yn awr ddywedyd wrthynt etto, pe gallai yr holl fyd glywed fy llais, y maent i'w gresynu, a gweddiwyf drostynt. Yr ydym wedi cylch-deithio y ddaear i bregethu yr Efengyl iddynt. Yr ydym aml waith wedi cychwyn ar ein cenadiaethau yn hollol amddifad, heb hattau, yn agos heb esgidiau, ac amryw o gysuron bywyd, i deithio miloedd a miloedd o filldiroedd i bregethu yr Efengyl i'r bobl. Os na fynant eu llesoli, mae ein godreu yn glir o'u gwaed, a rhaid iddynt hwy gynnal y bai.

A allant hwy ddweyd yr achos o fod y bobl hyn yma heddyw? A allant hwy roddi yr achos am y dylanwad sydd genyf fi dros

Saint y Dyddiau Diweddaf. Nas gallant. Pe hon ni fyddai deyrnas Dduw ar y ddaear a ydych chwi yn tybied y byddent hwy yn ymfyddinedig i'w herbyn? Na fyddent. Nid oes meddwl cadarn ag iawn hysbysedig yn y byd ar na benderfynai ar unwaith nad oes un achos o elyniaeth yn erbyn y boblhyn, ac fod pob ymosodiad i'n herbyn yn cyfodi oddiar y ffaith fod genym yr offeiriadaeth dragywyddol a'i dylanwad. Mae teyrnas nefoedd yma, ac yr ydym ni ynddi, ac y maent hwy yn llidiog wrthom yn unig am hyny.

Nid oes frenin, llywodraethwr, neu reolwr ar nad yw yn dymuno ac yn ymdrechu cael y dylanwad a feddianwyf fi a'm brodyr, ac a ydym yn ymdrechu yn gyfreithlon i'w gael. A ydych chwi yn tybied fod erioed Lywydd yr Unol Daleithiau ar nad oedd yn dymuno ymddyried ei gynrychioledigion? Na fu erioed. A fu erioed seneddwr, cynrychiolydd llywydd Talaeth, gwladwriaethwr neu offeiriad, ar na ddymunai yr un gallu yn ei gylch ef ag sydd genyf fi yn yr eiddof fi? Ni allant ei gael; canys ni wyddant pa fodd. Pa beth yw y reswm? Nid oes gauddynt deyrnas Dduw yr hon sydd yn rhwymo y bobl ynghyd. Maent yn anwybodus o honi, er ein bod ni wedi teithio yn droednoeth, a braidd yn holl noeth i'w phregethu iddynt, ac yr ydwyf fi yn dywedyd eu bod i'w gresynu.

Cynnifer gwaith yr ydwyf fi wedi myned i bregethu iddynt, a chyda'r holl diriondeb a'r tawelwch a allwn feddu, dywedais fod genyf rhywbeth i'w cysuro a'u calonogi, os ei gwrandawent gyda chalonau cywir. Mor aml yr ydwyf wedi gofyn, A allaf fi gael eich addol-dy neu eich ysgol-dy i bregethu ynddo; a allaf fi gael y fraint o bregethu i'r bobl? 'Nac allwch, os gallaf ei rwystro.' Dyna ysbryd yr offeiriaid.

Offeiriaid ac henuriaid gwledydd ydynt, a gallu uffern ynddynt sydd yn achosi y drafferth a welwch, ac a welsoch ac a ddyoddefasoch am lawer o flynyddoedd. Maent fel yr aelod afreolus hwnw—y tafod, yr hwn sydd yn tanio cwrs natur, ac yn cael ei gynneu â thân uffern.

Mae gan offeiriaid y tân hwn, a phwy sydd yn gwyntellu y fflam. Dywedodd y brawd Smoot wrthych pwy sydd yn chwythu â'r fegin. Y gwladwriaethwr, y meddwyn, a budredd ac ysgubion y byd a rhedant wrth awgrym a galwad y rhai sydd ganddynt ddoler neu chwe cheiniog iddynt—y rhai a'u hanrhegant a roddi iddynt swper wystrys a lletty da.

Y mae dosparth arall—yr anturiaethwyr, y rhai a ymdrechant gael ar droed ryw gynllun wrth yr hwn yr enillant arian. Mae y brawd Smoot wedi roddi i chwi ychydig enghreifftiau ynghylch eu symudiadau presenol yn y dwyrain. Trwy eu cintach, eu udiaeth, eu hamryson, eu hymgrafu, eu dwndwr a'u hegni, ac mewn golwg wladwriaethol ac anturiaethol, mae amryw yn ymorchestu mor hynod gywilyddus i ffoleddu ein llywodraeth a gwastraffu ei hardreth. Ac mae yr offeiriaid hefyd wrth waelod y symudiad hwn; canys mae

ganddynt y gallu sydd o uffern, ac mae eraill yn chwythu y fflam ac yn diwallu y tanwydd i erlid Saint y Dyddiau Diweddaf, o herwydd eu bod yn y deyrnas a osododd Duw i fyny yn y dyddiau diweddaf, yr hon ni ddistrywir byth.

Y mae yn ychydig yn hwy na 27 mlynedd oddiar pan y dechreuais i ddarllen Llyfr Mormon ac amddiffyn yr achos â,r hwn yr ymwnawn yn awr. Yr oedd fy meddwl yn agored i argyhoeddiad, a gwyddwn na feddai y byd Cristianogol y grefydd a ddysgodd Iesu a'i Apostolion. Gwyddwn nad oedd Beibl-gristion ar y ddaear trwy wybod i mi. Ychydig flynyddau yn flaenorol i'r amser hwnw yr oedd Joseph wedi cael y llafnau, a dechreu cyfieithu Llyfr Mormon, ac o'r amser y cafodd efe y llafnau hyny yn mryn Cumora, y mae wedi bod y lludded hyny o gamdriniaeth, celwydda, enllibo, gwarthruddo enw a chymmeriad y Prophwyd a'i gydymeithion, ag sydd y dydd heddyw. Nid yw yn boethach amser yn awr nag ydoedd y pryd hwnw, ac nid oes mwy o erlidigaeth yn awr nag ydoedd y pryd hwnw.

Mae Duw wedi dechreu gosod i fyny ei deyrnas ar y ddaear, ac mae oll uffern a'i dieflaid yn ymsymmud i'w herbyn. Mae uffern yn safn-agored, ac yn gyru allan ei dieflaid a'u himpiau, i ba beth? I ddinystrio teyrnas Dduw oddiar y ddaear; eithr ni allant ei wneuthur.

Dangosodd Duw y nef i Nebuchodonosor na ddinystrid y deyrnas hon byth, a dyna yw fy nystiolaeth innau.

(I'w barhau.)

## NEWYDDION O UTAH.

Derbyniasom y *Deseret News* i fyny hyd Awst 12. Awst 13 cychwynodd y mail a chydag ef yr Henuriad S. W. Richards, a phedwar o henuriaid eraill ar genadiaeth. Croesasant y Gwastadedd mewn 19 diwrnod, ac i Gaerefrog Newydd mewn 28 o ddiwrnodau.

Cafwyd cynhauaf mor ddigonol na chafwyd ei fath er sefydliad y Saint yn y dyffrynoedd! Yr oedd iechyd yn ffynu, pawb yn ddiwyd a hynod lwyddianus, ac yn diolch am gael gwared o gynnifer o wrthgilwyr a gelynion llygredig, gan hiraethu am gael gwared ychydig yn ychwaneg. Yr oedd y deml ar waith yn egniol.

Er dyfnder dichellion bradwrus rhai o swyddogion y llywodraeth Americanaidd yn dylanwadu ar y llywydd Buchanan i attal y llythyr-gerbyd, a danfon 2500 o filwyr yno, aeth rhai henuriaid i mewn â'r newydd. Barned ein darllenwyr y fath effaith a gafodd ar bobl heddychlon Utah. Daeth i'w cof cu herledigaeth greulon o Missourri ac Illinois—yr holl ladd a llosgi a oddefwyd, a'r newyn a'r caledi a brofwyd hyd oni aethant yn ddigon pell i'r anialwch i blith anwariaid i drin tir na

chynnyrchai ffrwyth ond trwy gryn lafur a bendith yr Arglwydd. Mor gynted ag y daethant a'r diffaeth-dir megis gardd, a'r anialwch i flodeuo fel rhosyn, dacw swyddogach ariangar, llygredig yn ceisio swyddau gwladwriaethol a'u poenu hyd derfyn amynedd dyn. Cofus hefyd ystranciau milwyr Steptoe, ac aml drafferthion y Saint diwyd. Ymddengys yn awr fod Seion, yn hytrach na goddef ychwaneg, yn penderfynu cyfodi a dyrnu os bydd rhaid. Mae yr holl gelwyddau argraffedig am yr angylion dinystriol, creulonderau Brigham, diangiad peryglus enciIwyr, a dymuniad ychwaneg am ymadael wedi cyrhaedd, a llaru a blino y Llywyddion a'r Saint. Dywed y Prophwyd Brigham—

"Rhaid i'r amser ddyfod pan y bydd rhaniad rhwng y deyrnas hon a theyrnasoedd y byd hwn, hyd y nod yn mhob ystyriaeth. Rhaid i'r amser ddyfod pan y bydd rhaid i'r deyrnas hon fod yn rhydd ac anymddibynol oddiwrth bob teyrnas arall, A ydych chwi yn barod i'r llinyn gael ei dorri?"

"Anhawdd fyddai i'r bobl wrth-daeru y ffaith o fod llywodraeth yr Unol Daleithiau yn cau y glwyd arnom, canys y mae yn rhy amlwg; a hyn sydd yn prysuro gwaith yr Arglwydd am yr hyn y gweddiwch yn ddyddiol. . . . Yn awr, gofalwch, canys os yr Arglwydd a'i gwna, dichon na fyddwch yn barod i'w gyfarfod. . . .

"Yn awr caniatewch i mi ddweyd wrthych un peth, myfi a'i cymmeraf yn arwydd fod Duw yn bwriadu torri yr edefyn rhyngom â'r byd, pan yr ymgymmero byddin i wneyd ei hymddangosiad yn y Diriogaeth hon i'm fflangellu i, neu i gymmeryd fy mywyd oddiar y ddaear. Yr wyf yn arosod fod, neu o leiaf y dylai fod, iawnder yn allu gan y Nef, gan ei gweision, a chan ei holl bobl ar y ddaear. Am y gweddill, arhoswn ychydig amser i weled; eithr mi a ystyriaf symudiad ymosodiadol o eiddo ein gelynion yn brawf ei fod yn bryd i dori yr edefyn. Credwyf y cawn dri chant a lepiant ddwfr, a gallwn fflangellu allan y Midianiaid. Dywed y brawd Heber y gallai efe droi allan ei fenywod, ac y gallent hwy eu chwipio. Ni waeth genyf am y drygionus, y ffordd oreu y gallant ei threfnu.'

Yr hen frawd Heber C. Kimbal a ddywed y rhaid i'r byd gydnabod Joseph, Brigham, ac holl brophwydi Duw cyn y cant iachawdwriaeth. Meddai ef, "gellwch ladd Brigham, a'i frawd Heber, os gallwch, yr hyn ni allwch cyn yr amser. Pe laddech Brigham, cyfodai mil o Frighamiaid drwyddo, canys byddai ei hiliogaeth yn brophwydi,. . . . A eill y byd ddifodi Mormoniaeth, sef yr Eglwys hon — teyrnas Duw? Byddai yr un man iddynt fyned i ddifodi ser y furfafen.

"Nid oes un dyn oddieithr y brawd Brigham, neu ei olynydd yn yr offeiriadaeth byth a lywodraetha drosof fi megys lywodraethwr. (Lleisian ar hyd yr holl gynulleidfa, 'Amen.

Geill dyn na fyddo yn dal yr offeiriadaeth ddyfod yma yn y cylch o lywodraethwr, os myn, ac os gweithreda yn iawn o fewn terfynau ei swydd; eithr os na fawryga gyfreithiau iachus, nyni a ddysgwn iddo ei ddyledswydd.

"Anfon dyn yma gyda 2500 o filwyr!—nid oes ganddynt un bwriad yn myd yr Hollalluog Dduw ond codi twrw gyda y bobl hyn, a'n dwyn i wrth darawiad â'r unol Daleithiau, a phan y deuant yma, y cynnyg cyntaf fydd i gymmeryd y brawd Brigham Young ac Heber C. Kimbal, ac eraill, a hwy a'n lladdant; dyna eu bwriad, ac os na chaniatawn i'w gwaelder, yna dywedant ein bod wedi gwrthryfela yn erbyn Llywydd yr Unol Dalaethau, ac yna gosodant ni o dan gyfraith filwrol, a dechreuant gyflafanu y bobl hyn Dyma fu bwriad y dynion a fuont yma, [Llais yn yr esgynlawr 'Nis gallant ei gyflawni.'] Na *ni allant* ei gyflawni.

"Drummond a'r dyhirod poenus hyny y rhai ag ydynt yn awr yn ein plith, pa fodd yr ydwyf fi yn teimlo tuag atynt?—i weddio drostynt? Ie, gweddiwyf ar i'r Dduw Hollalluog eu gyru i uffern, dywed rhai y ffordd fyraf, eithr carwn i iddynt gymeryd ffordd gylchynol, a bod cyhyd ag y gallont yn myned. Pa fodd y meddyliwch fy mod yn teimlo?

"Cefais fy nghyru bum waith—fy nhori i fynu am nwyddau eu hyspeilio oddiwrthyf, a'm cystuddio braidd i farwolaeth."

Dengys yn mhellach fod Llywodraeth yr Unol Daleithiau wedi trin y saint yn gyffelyb fel y triniodd meidion Jacob eu brawd Joseph, ac y deuant etto i Sion mewn agwedd mwy gostyngedig na milwyr i ymgrymmu i brophwydi a Seintiau Duw—a deisyf am luniaeth i achub eu bywydau ac ydyw Llywydd yr Unol Daleithiau i ymofyn ag awdurdodau yr Eglwys hon pa beth fydd oreu i wneuthur dros ei bobl. Dywed wrth y rhai na choeliant am aros a gweled eu hunain, ac mai pan y tybia awdurdodau y Talaethau fod ganddynt y Saint yn y fagl, pryd hynny y bydd yr Arglwydd a hwy eu hunain yn rhwym. Meddai ef hefyd,—

"A fydd y wlad hon yn wlad llaeth a mel? Bydd. Ystyrir mai Missouri yw y wlad am fwyaf o fel ar y ddaear; eithr nid â heibio llawer o flynyddau cyn y methant godi llwyaid yn y wlad hono, yn Illinnois, nac mewn un wlad arall lle brwydrant yn erbyn Duw. Mallder a gaiff ddyfod ar eu mel, eu gwenyn, a'u cnydau, ac anghytanedd-dra a gaiff ddyfod ar y genedl megis corwynt. . . . Yr ydym ni wedi cael profi y wialen. Mae barn i ddechreu yn Nhy Dnw, ac yna i fyned ar y gwrthryfelgar a'r drygionus, Gwrthgilwyr yn enwedig, a gant ddyoddef: mae ganddyut dalu yr holl dyled o'r drafferth a dynasant ar y gwirion o ddyddiau Joseph hyd yn awr. . .

"A gawn ni fanna? Cawn. Mae gan yr Unol Daleithiau 700 o Wagenni yn llwythedig â thua dwy dynell i bob wagen yn cynnwys braidd pob math o bethau; heblaw hynny, mae

700 o anifeiliaid, a dywedir fod 2500 o filwyr gyda y peth hyn a'r peth arall yn dyfod yma: o'r goren. Tybiwch na ddeuai yr holl filwyr hyn yma; eithr y deuai yr holl nwyddau a'r anifeiliaid; wel, byddai hynny yn gynorthwy dirfawr i ni: Fe ddilladai y bechgyn a'r merched, a'u gwneuthur yn gysurus, ac, wedi hynny, cofiwch, y mae 15 mis o lunateih heblaw, Yr ydwyf yn ddim ond siarad am hyn. Tybiwch yr estynai yn mlaen am 4 neu 5 mlynedd ac y danfonant 100,030 o filwyr, a nwyddau a lluniaeth yn gyferbyniol; ac y cyrhaeddai yr oll yma, oddieithr y milwyr. Llefarwyf yn gydmariaethol wrth y Saint, ac nid ydych chwi sydd tuallan yn ei ddeall. [Yr oedd amrai yno nad hoffai.] Yr ydwyf yh math o un digrif, yr oedd wn felly bob amser. , . .

"Bendithied yr Hollalluog chwi; bydded heddwch Duw gyda chwi ac ar eich plant, a phlant eich plant byth ac yn dragywydd; a melldithied y Duw Hollalluog ein gelynion, [Lleisiau, 'Amen'] Teimlwyf i felldithio fy ngelynion. a phan na fendithia Duw hwynt, ni feddyliwyf y gofyna i mi eu bendithio pe gwnawn byddai i osod i farwolaeth y melldigedigion gwael ag iddynt wedi dwyn marwolaeth a dinystr arnaf fi am brodyr, ar fy ngwragedd a'm plant a gleddais ar y ffordd rhwng y Talaethau a'r lle hwn.

"A wneuthym mi gam â hwynt, ddyn neu benyw o honynt, allan o ddimeu? Y melldigedigion gwael a phwdr! a Llywydd yr Unol Dalaethau, yn gymmaint ag ei fod wedi troi yn ein herbyn, ac y dilyna lwybr i gyndyn barhau i foddhau y melldigion annuwiol sydd yn udo o'i amgylch ef er dinystr y bobl hyn, efe a felldithir yn enw Duw Israel, ac ni chaiff lywyddu dros y genedl hon, o herwydd fy mhrodyr i ydynt, ond y maent wedi fy naflu i allan a'ch taflu chwithau allan ac yr wyf yn ei felldithio ef a'i oll gyfnerthwyr cydswyddol yn ei weithredoedd melldigedig, yn enw Iesu Grist, a thrwy awdurdod yr Offeiriadaeth Santaidd, ac holl Israel a ddywed Amen.

"Anfon 2500 o filwyr yma, ein brodyr, i wneuthur anghyfannedd-dra o'r bobl hyn! Y Duw Hollalluog yn fy nghynorthwyo mi a ymladdaf hyd nes na fyddo dyferyn o waed yn fy ngwythienau. D Duw daionus! Y mae genyf ddigon o wragedd i ffiangellu allan yr Unol Dalaethau, canys hwy a chwipiant eu hunain."

Mewn golygyddiaeth yn y *Deseret News* annerchir y Llywodraeth Americanaidd mal y canlyn:—

Os bwiradwch barhau apwyntiad rhai swyddogion, awgrymwn yn barchus i chwi i apwyntio dynion gwir ddeallgar ac anrhydeddus, a ddoeth ddisgwyliant at eu dyledswyddau hwy eu hunain, a'u hanfon heb filwyr, y rhai y gwyddoch chwi eich hunnain nid ydynt o un defnydd cyfreithlon yma, a'ch swyddogion a berchir ac a drinir yn fanol yn ol eu gweithredoedd a'u haeddiant, fel y gwyddoch yn dda hefyd y mae wedi bod bob amser, oddieithr i ni beidio a chrogi rhai o'r dyhirod uffernol, ag ydych wedi eu danfon cyn hyn, yn ol eu gwir haeddiant.

Ac os na dderbyniwch chwi y cynghor teg hwn, eithr cyndyn barhau i anfon atom swyddogach o'r *tag. rag and bob tail* o butteind dai, gwirod-dai ac ufferau gamblo, cymmerwn y rhyddid o ddyfalu eich bwriadau teg (?) tuag atom ac a gymerwn hefyd y rhyddid, am y tro cyntaf, o ymddwyn at y dosparth hwnw o swyddogach yn fanol yn unol a'u haeddiant.

'Os ddygwydd i chwi ddewis anfon y dosparth a enwyd olaf, ac y beiddiant ddyfod a gweithredu allan eu natur dieflig, hwy a wir anghenant lawer mwy o wylwyr corff na 2500 o filwyr."

Mae yr holl ystoriau, fel y dywedasom, am ystranciau Brigham, changiad gwrthgilwyr, &c.. wedi cyrhaedd y Dyffryn, ac, mewn attebiad i'r haeriad fod lluoedd yn Utah yn dymuno dianc pe meddient, a bod eisiau milwyr yno fel y gallont ffoi yn ddiangol, &c.. cynnygai y Llywydd Brigham Young drwsio allan bob teulu o'r fath â cheffylau, cerbydau, lluniaeth, a phob angenrheidiau ar yr ammod i "Uncle Sam." (y llywodraeth) wneyd yr un peth â chynnifer a ddymunent fyned o'r Talaethau i Utah. Ystyria y Prophwyd hwn ya gynnyg teg, yn enwedig os mai er rhyddhau a dwyn allan y gwrthgilwyr blinedig ac ofnog yr anfonir y milwyr, ac os ydyw Utah yn le mor annymunol."

Nid yw yr uchod ond ychydig allan o lawer a ddywedwyd am ymddygiad y llywodraeth Americanaidd. gwirionedd yr hyn a gadarnheir yn hanes drygau y milwyr, &c, ynghyd ag hanesion diweddarach o'r Talaethau.

Dengys hyn oll fod y diafol yn cynddeiriogi, ac yn pentyru at ei hen furiau amddiffynol a noddfaol —y celwydd, yr hwn sydd yn mhob oes wedi cael ei osod yn erbyn teyrnas Dduw. Eithr er gwaethaf eiddigedd galluoedd y byd hwn, a holl wrthwynebiad gau offeiriaid. i fyny y daw Teyrnas Dduw yn fuddygoliaethus ar bob gelynion, a hyny yn fuan, canys y deyrnas a welodd Daniel ydyw hon, a'i chynnydd ni attelir.

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, HYDREF 10, 1857.

SAIN YR UDGORN y tro yma sydd wàn adsain rhuad 'Llew yr Arglwydd' a'i frodyr yn ngadarn fanau y Mynyddoedd Tragywyddol. Pa un ai parod neu anmharod ydym ni, yn mlaen ar garlam y treigla y garreg fach. ac mal pelen eira yn cynnyddu yn ei maint ar bob treigliad. Mae y Saint yn yr amser mynedol, fel pe byddent wedi bod yn treiglio y Garreg i fyny i ucheldir, ac yn awr yn cynnyddu ei maint arhyd penau y

mynyddoedd, lle y mae yn beryglus i'w gelynion ymyraeth â hi rhag iddi lithro o'i huchelfan ar eu penau a'u dryllio yn ddarnau.

Mae Seion ar gael ei gwaredu, a'r llinyn cyssylltiadol, fel y dywed y Prophwyd, ar gael ei dorri; pwy sydd yn barod i'r canlyniad? Ni ychwanegwn ar yr oll sydd eisioes o flaen llygaid y Saint. Yr hwn sydd ganddo glustiau. gwrandawed; a'r hwn sydd ganddo lygaid, a'r rhai hyny heb fod yn nghau mewn cysgadrwydd gwrthgiliad, difaterwch, diogi, a thywyllwch, canfydded arwyddion rhyfeddol a mawreddog yr amserau.

---

YMFUDIAD *i'r Talaethau wedi cael ei attal am y presennol.*—Wrth y Saint ag ydynt yn ymddarparu i ymfudo i'r Talaethau ac i Utah yn ystod y tymhor dyfodol dywedwn, am yr ymdrechiadau a wnaethoch chwychwi a fendithir. Mae ein hiachawdwriaeth megis pobl, yn amddibynu ar yr ufydd-dod a roddwn i gynghoriou yr Arglwydd, y rhai a roddir i ni o bryd i bryd trwy ei weision ef. Yr ydych wedi cael dywedyd wrthych am sefyll modd i dalu eich ffordd oddiyma i Seion, a chwi a wobrwyir yn ol yr ymdrech a wnaethoch.

Gyda golwg ar yr anhawsderau sydd yn awr yn bygwth y Saint, ystyriwn mai doeth ydyw attal pob ymfudiad i'r Talaethau ag Utah am y presennol. Disgwyliwn na fydd yn hir cyn yr agorir y ffordd etto fel y galloch fyned adref. Fel y chwalir tarth y boreu gan ogoniant yr haul cyfodawl, felly yr alltudir yr anhawsderau cyfryngol gan ogoniant Duw, pan y dynoetha efe ei nerthol fraich yn amddiffyniad ei bobl' fel y gwnaeth yn y dyddiau pan yr arweiniodd Efe hwynt allan o wlad yr Aipht.

Nid hir cyn yr agorir y ffordd etto, fel y gallo y Saint gasglu i Seion yn ol dymuniadau eu calonau. Parhewch i drysori i fyny foddion, ac ychwanegwch at yr hyn sydd genych eisioes, fel na oeder chwi pan egyr y ffordd [mewn rhyw gyfeiriad arall]—*Star.*

---

Y MORMON—yr hwn a gyhoeddir yn Ninas Caerefrog Newydd sydd wedi cael ei attal

Traethodu.—Tra y byddo'r Saint yn Nghymru yn ymgynnilo a darparu modd i ymfudo. pan egyr y drws i chwaneg o ysgybau fyned i'r llawr dyrnu, fel pe rhwng cawodydd, pan fyddo amser y cynheuaf wedi myned yn mhell, nac anghofier y wers o lwyr lanhau ein godreu oddiwrth waed y genhedlaeth hon, trwy beidio gadael dyn na benyw a roddant ymwrandawiad heb eu haddysgu am deyrnas fawreddog Duw a'i thynghed, a'r canlyniad o beidio a dyfod iddi.

Dealler yn bendant fod cynnifer o draethodau cymreig Pratt a ddanfonwyd i'r cynnadleddau yn eiddo y degwm, ac i gael eu cadw ar gylchrediad yn mhlith y byd. Nid oes un Sant i gael

cyfrol o'r rhai hyn sydd wedi cael eu clorio, eu pwytho, a'u tori er defnydd cylchredu hyd oni hysbysir yn mhellach.

Deallwn fod rhai wedi llaesu dwylaw gyda y gwaith anneb gorol hwn, eithr pan na chaiff rhai dderbyniad i ryw le neillduol yn Seion, o herwydd nad yw eu dwylaw yn rhydd oddiwrth waed y genhedlaeth hon, dichon y cofiant eu hesgeulusdod. Y Llywydd Cynnadledd neu gangen a ddibriso y *Star* a'r *Udgorn* &c., a'r dosparthu traethodau, dywedwn yn ddibetrus y cyll efe Ysbryd Seion, ac y daw musgrellni i mewn i blith Saint ei ofal.

Fe ddylai pob golygyddiaeth bwysig a dyddorol o'r cyhoeddiadau gael ei darllen ar gyhoedd yn y cyfarfodydd, a'r swyddwyr ddysgu oddiar hyny; canys yno y mae llais y llywyddiaeth; a'r sawl sydd yn dibrisio ydynt yn gwywo yn eu hunanoldeb, a'u meddyliau a'u dealltwriaeth a fyddant anffrwythlon a thywyll.

Tra y roddasom ewyllys rhydd i bawb dderbyn y nifer a fynent o'r *Udgorn*, nid oeddem yn annog y Saint a allent ddeall cymraeg i'w ddiystyru a'i osod o'r neilldu, a llywyddion i fod yn ddiog a ddifater o blegid pwy a'i cymmerai a phwy na wnelai; eithr, fel y nodasom, iddynt hwy eu hunain y bydd y golled.

Dilys fod awydd yn mynwes y doeth a'r egwyddorol i feddu cyfrol rwymedig o draethodau goleu ac eglur godidog yr Apostol Orson Pratt, yn mha rhai y mae y fath arddangosiad campus o egwyddorion cyntaf yr Efengyl, hanes y gwrthgiliad cyffredinol, a desgrifiad godidog o deyrnas Duw.

Mae genym ychydig o gyfrolau ar law, y rhai sydd heb eu pwytho na'u tori. Y rhai cyntaf i'w herchi a'u cant, a chredwn y siomir rhai. Pris y gyfrol yn rhwym mewn llian, *gilt edges* fydd dau swllt yr un i'r cyhoedd. Rhoddir o hyn i ben y flwyddyn i frodyr ymddiriedol dalu am danynt.

Gofynir i bob un sydd am sicrhau cyfrol, flaen-dalu wyth ceiniog gogyfer a rhwymo fel y rhwymom yr oll a erchir gyda eu gilydd yn rhatach. Pris cyfrol rhwymiad harddaf—2s 3c.

Dymunwn i'r llywyddion brysuro i gasglu y blaen daliadau fel y rhwymer y cyfrolau yn brydion, gan y dymuna yr awdwr teilwng iddynt gael eu gwerthu eleni.

---

## DIWEDDARAF O UTAH.

---

CYRHAEDDIAD YY HENURIAD S. W. RICHARDS.

Llynlleifiad, Hydref 4, 1867.

Yr Henuriad O. Pratt.

Mygedawg Olygydd,—Da genyf eich hysbysu o'm cyrhaedd-

iad yma ddoe, yn nghyd a'r Henuriad George G. Snyder, gyda yr agerlong "Europa."

Gadawsom Ddinas y Llyn Halen Mawr ar y 13 o Awst, gyda yr express am y Talaethau; ein cenadiaeth yn estyn hyd at yr Eglwysi yn y Talaethau, Canadäau, ac Ewrop. Daeth George W. Knowlton, a marchogydd gyda yr express, gyda ni dros y Gwastadedd, a'r Henuriad Bryant Stringham mor belled ag Horse-shoe Creek gyda chyfarwyddiadau i'r amrywiol orsafau ar hyd y ffordd. Treuliasom noson y 14eg yn Bridger. Yr oedd y brawd Lewis Robinson, gofalydd dros yr orsaf hon wedi newydd gwblhau muriau y Fort newydd, a adeiladwyd â meini wedi eu gosod mewn calch. Yr oedd rhyw 40 o deuluoedd o'r Snake Indiaid yn talu ymweliad cyfeillgar â'r Fort, ac ymddangosai Wash-a-kete, y Penaeth yn foddhaol iawn mewn cael ei wneyd yn adnabyddus â ni, a'i ddyddori yn ein hatebion i'w ymholiadau. Tua 18 milltir yn orllewinol i'r lle hwn cwrddasom â Levi Stewart, Isaac Bowman, Mrs. M'cMinn, ac eraill yn dychwelyd o'r Talaethau. Noson yr 16eg a dreuliasom yn nghorsaf Markham, croesiad uchaf y Sweet Water.

Boreu y 18fed, gadawsom Devil's Gate, a thua 5 milldir i'r dwyrain o Independance Rock cwrddasom y ddau lawgeirt gwmpeini cyntaf, yn ngofal yr Henuriaid Israel Exans a J. B. Martin, yr oedd yr Henuriaid Dana, Ashby, Walker, a Workman yn y cwmpeini. Yr oedd y cwmnioedd hyn mewn iechyd ag ysbryd rhagorol, yn teithio, pan gyfarfuasom â hwynt, 4 milltir yr awr. Yr oedd ein harhosiad byr gyda hwynt yn wir gysurol. Y nesaf a gyfarfyddasom oedd yr Henuriad Moody, gyda rhan o'r cwmpeini Texiaidd, tua 10 milltir yn ddwyreiniol i Willow springs, ac ond ychydig filldiroedd yn mhellach cwrddasom â gosgordd gyntaf y Llywodraeth gyda nwyddau i filwyr yr ymgyrch Utahaidd, yn cynnwys 26 o wagenni, pob un yn cael ei thynnu gan chwech iau o ychain. Yn yr hwyr cyrhaeddasom groesiad uchaf y Platte, lle yr ymwersyllai un neu ychwaueg o osgorddion Llywodraeth, a thri cwmpeini o'n hymfudiad ni, yn cynnwys y Danaeg, a'r holl ymfudiaeth weddilliol gyda llawgeirt. Gan ei bod yn nos, ni wnaethom gydnabyddiaeth gyffredin â'r Saint, eithr deallasom oddiwrth yr Henuriaid Cowley a Parkes, eu bod yn llwyddiannus anarferol, a sefyllfa gyffredin y cwmnioedd yn gwellhau. Cynnwysai y llawgeirt hyn lawer o bersonau oedranus, clafychog, a methedig pan yn gadael y frontiers

Dydd Mercher, y 19eg, croesasom y Platte, a 3 milltir i lawr cyfarfuasom ag Homer Duncan, gyda rhan o'r brodyr Texiaidd, gan ba rai oedd deadell fawr o anifeiliaid. Am 10 o'r gloch y boreu cyrhaeddasom Deer Creek lle y cawsom yr Henuriaid Hoffeins ag Hart gyda eu cwmnioedd o'r Talaethau, yr oeddynt wedi cyd-deithio a cholli 46 o anifeiliaid mewn *stampede*, yr hyn a wanhaodd eu gweddeuau, eithr ni achosodd oediad anhebgorol

iddynt. Cawsant rhai anifeiliaid o orsaf Deer Creek, ac aethant yn mlaen yn o lew. Haedda yr Henuriad N. V. Jones a'r bechgyn gydag ef yn yr orsaf hon lawer o ganmoliaeth, fel yr ardystiodd eu gweithredoedd yno yn ddigonol. Arosasom yno yn agos 24 awr, ac yna aethom yn mlaen i orsaf Hôrse shoe Creek, yr Henuriad Jones yn ein hebrwng.

Yno y deallasom fod yr Henuriad W. G. Young wedi myned heibio o flaen cwmpeini J. A. Little, ac fod gosgordd neu ddwy o nwyddau Llywodraeth wedi myned ar hyd yr ochr ogleddol i'r Platte, y rhai ni chanfyddasom. Ar ol gwneuthur rhai darpariadau bychain anghenrheidiol yn y lle hwn i'n galluogi i gyflawni ein taith i'r frontiers, aethom a dau o'r brodyr oddiyma gyda ni er iddynt fyned yn ol a'r express dychweliadol, a chan ymadael yn afrwydd â'r henuriaid Stringham a Jones, aethom rhagom ymlaen. Yn yr hwyr gwersyllasom gyda yr Henuriad Little a'i gwmpeini yr hwn oedd yr olaf o'n hymfudiaeth eleni 11 milltir y tu uchaf i Laramie. Ymddangosai y cwmpeini hwn mewn sefyllfa rhagorol i deithio yn gyflym: disgwylient wneuthur amser da oddiyno i mewn.

Boreu ddydd Mawrth, yr 20fed, ar dorriad y wawr croesasom y Platte gogyfer a Laramie, ac aethom i waered ar hyd yr ochr ogleddol. Oddiyma i Kaerney yr oedd yn ddigwyddiad aml i weled gosgorddion mawrion yn ymsymud yn y gwersyll, gyda deadelloedd dirfawr o gattel, ynghyd a cheffylau a mulod. Tri ugain ac wyth wagen yn symud mewn un osgordd, gyda thua 100 pen o gattel, oeddynt gynnifer a welsom yn nghyd. Yn gyffredin symmudasant a gwersyllasant mewn cwmnioedd o tua 26 o wagenni.

Dydd Llun. 23ain. Yr oedd y cwmpeini cyntaf o filwyr a welsom yn wersylledig 118 milldir islaw Laramie, gwersyllasom ar yr ochr gyferiol i'r afon mewn golwg o ryw 230 o babellau neu ychwaneg a 5 neu 6 gosgordd ö nwyddau Llywodraeth. Mae y Llywodraeth wedi bwriadu gwneuthur yr Ymgyrch Utahaidd yn rhywbeth godidog.

Ar y 24ain galwasom yn Kearney, lle yr hysbyswyd ni fod y mwyafrif o'r milwyr ar eu ffordd i Utah wedi myned heibio i'r lle hwnw, ac amryw osgorddion trymion o farsiandiaeth mewn golwg am gyfleusderau anaml am anturiaeth, prynu gwenith, ŷd, porfa, &c., i'r milwyr yn Utah. Druein gwael; gresyn iddynt gael siomedigaeth!

Yn Fort Kearney deallasom fod amryw yn encilio oddiwrth yr ymgyrch, yn filwyr a gyrwyr, ac fe orfod i'r swyddwyrddal allan annogaethau, a mabwysiadu trefniadau manwl, attal tâl am un flwyddyn, &c. i orchfygu, mor belled ag oedd yn bosibl, yr ysbryd o encilio. Meddyliwyd y cynnyddai yr ysbryd hwn yn fawr fel yr elent yn mlaen a chyfarfod ystormydd geirwon y mynyddau. Yr oedd y milwyr mewn uchel fri yn y meddwl o auafu yn ddanteithiol yn Utah, lle, fel y dywed y Gwyddel, "mae y benywod cyn dewed a'r mwer, ac yr oedd yn syndod

mawr iddynt pa beth a dywedai Brigham Young i'w gweled hwynt gyda ei wragedd yn cerdded heolydd Dinas y Llyn Halen mawr. Yr oedd pob Ellmynddyn a Gwyddel bawlyd, a cheg-frwnt, o ba rai y cynnwysid llawer o,r fyddin. yn llawn ddisgwyl y neidiai ryw fenyw 'Formonaidd' i'w freichiau, ar ei gyrhaeddiad i Utah, a'i roesawus annerch megis cenadydd nefawl wedi ei anfon i ddwyn gwaredigaeth o "warthrudd,truenusrwydd, ac anobalth Mormonaidd." Pwy, ar nad yw yn aros megis heb anadlu braidd gan anesmwythder am y canlyniad? Digoned i ddweud fod yr hysbysiaeth a gawsom yno o'r natur mwyaf dyddorol i'r rhai sydd ganddynt deulnoedd yn Utah, a rhoddodd gryn ddifyrwch i ni

[Y gorsafau a'r canghenau ereill ag y galwodd ynddynt, oedd Genoa, Florence, Cresent City, Bluff Gity, Keokuk, St. Louis, a Chaerefrog Newydd.]

Wedi ymgynghori â'r brodyr Appleby, Clinton, a Stenhouse, yn Nghaerefrog Newydd,sefyllfa gyffredin y Saint yn y Talaethau Dwyreiniol, ystyr r mai doeth fyddai gwneuthur rhai cyfnewidiadau yn nghorchwylion yr Eglwys, ac attal cyhoeddiad y "Mormon." [Arwydd fawr i'r sawll eill weled.]

Ar y 23ain moriasom gyda yr ager-long "Europa," a chawsom fordaith deg o ddeng diwrnod i'r porthladd hwn.

Mae bendith ein Tad Nefol yn wir wedi bod gyda ni ar y genadiaeth hon, yn llawn gyfartal i bwysigrwydd y dyledswyddau a gawsom eu cyflawni. Aethom heibio i amryw finteiodd o Indiaid ar y Gwastadedd, yngbyd a phrif gorph cenedl y Sioux, eithr ni aflonyddwyd ni o gwbl, yn mhellach na'r tipyn aflonyddwch o'u dymuniad i fasnachu neu 'swapio' am ddybaco, matsis, bara, &c. Mae pob llygad drwg tuag atom wedi bod yn ymddangosiadol ddall, ac ni oddefwyd i unrhyw galon chwerw ein niweidio, a gwnaethwyd ni megis cenhadon cyflym sydd yn myned allan o Seion, gan ddwyn newyddion da o lawenydd mawr i bawb Saint; canys mae ein cenad wedi cael ei dderbyn gyda llawenydd mawr a gorfoledd gan yr henuriaid ffyddlon, y rhai, megis gwylwyr ar y muriau, a allant ganfod gwawriad y dydd a ddug gydag ef waredigaeth Seion oddiwrth ei holl elynion . .

Gan fod wedi cyflawni taith o 5800 milltir mewn 33½ o ddyddiau teithiol ac yn agos 1400 o hyny gydag anifeiliaid, fel y gallwch ddisgwyl yn naturiol, yr ydym rywbeth yn flinderus mewn corff, er ein bod o hyd yn cael ein hadnewyddu mewn ysbryd ac yn ngwybodaeth o waith ein Duw.

Wrth derfynu caniatewch i mi estyn annerchiad calonog yn enw yr Arglwydd i'r Saint o dan eich gweinidogaeth, yn yr hyn yr ymunna yr Henuriad Snyder â mi. Wrth dirio un waith yn chwaneg ar y glannau hyn, adgofir fi am lawer diwrnod sydd, mewn blynyddau mynedol, wedi cael eu defnyddio genyf yn lleshad y ffyddlawn yn y gwledydd hyn, a gorfodir fi i lawenhau yn uniondeb y ffyddlon. Wrth bawb felly dywedaf

Llawenhewch chwi, canys ein Duw ni sydd yn teyrnasu yn Seion, a'i Brophwydi sydd yn mynegu ei ewyllys.

Mae dydd pryndigaeth Seion wrth law, a'i phlant hi yn fuan a gant weled iachawdwriaeth ein Duw; ac yn y dydd hwnw caiff y cenhedloedd wybod fod Seion wedi cael ei sefydlu, a i bod yn lle o ddiogelwch i'r rhai hyny a ffoant yno oddiwrth lid a digllonedd yr annuwiol, y rhai a geisiant y naill un i ddinystrio ei gymydog a'i frawd oddiar wyneb y ddaear. Gwybyddwch chwi anwyl Saint mai ffyddlondeb idd eich cyfammodau, a pharhad hyd y diwedd yn y ffordd a ddengys Duw trwy ei weision, ydynt ammodan eich dyrchafiad i drigfanau gogoniant tragywyddol.

Gan weddio ar i lwyddiant ac anrhydedd i barhau i goroni eich hymdrechiadau er iachawdwriaeth Israel, ydwyf,

Eich Cyd-was.

S. W. Richards.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Mae y *scurvy* wedi torri allan ar fiiwyr yr Ymgyrch Utahaidd yn ganlynol i'w brwnt drafodaeth gyda benywod Indiaidd yn Fort Kearney! Dyna y fath wareidd-dra mae duwiol (?) Gristianogion am blanu yn Utah! Gwell iddynt ofalu.

☞ Drwg genym hysbysu fod gorchwylion pwysig ac annysgwyliadwy yn rhwystro y Llywyddion Pratt a Benson i ymweled â Chymru.

---

Cymmanfa Llanelli a gynnelir Hydref 25; Caerfyrddin, Tach. 1; Sir Benfro, 8fed, a Sir Aberteifi y 15fed.

Cymmanfaoedd y Gogledd a gynnelir, yn Meirionydd, Hydref 18; Môn, y 25ain; Dinbych, Tachwedd 1, a Fflint ar yr 8fed.

---

*Taliadau*, o Medi 12 hyd Hydref 9.—J. Treharne, £2; E. D Miles, 10s.; J, Davies, £5 5s.; T. Rees, £2 2s. 7c.; J Griffiths £1; W. Ajax, Môn, £1.

---

GYNNWYSIAD.



ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS ABERTAWY.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 22.] HYDREF 24, 1857. [CYF. X.

## DYSGEIDIAETH Y LLYWYDD BRIGHAM YOUNG.

*Bowery, Dinas Ll. H. Mawr, Gorphenaf 26, 1857.*

(Parhad o Tud. 296.)

HON ydyw teyrnas nef—teyrnas Dduw, yr hon a welodd Daniel—y deyrnas a ddatguddiwyd i'r brenhin Nebuchodonosor, ac a ddehongliwyd iddo gan y Prophwyd Daniel. Hon yw y deyrnas ag ydoedd i gael ei gosod i fynu yn y dyddiau diweddaf. Y mae megis maen a gymmerwyd oddiwrth y mynydd, heb ddwylaw, gyda ei holl arwder, a'i holl olwg dilun, anweddaidd, hyd yn nod yn faen tramgwydd i genedloedd y ddaear. Dyma y deyrnas sydd osodedig i fyny, ac mae hanesyddwyr teyrnasoedd y byd hwn yn ei ddeall, neu yn medru ei ddarllen a'i ddeall.

Geill rhai grio allan 'nid yw eich dywediad mai hon ydyw teyrnas Dduw yn ei gwneuthur felly.' Nac ydyw mewn un modd. 'Eich tystiolaeth, Mr. Young, ydyw mai hon ydyw teyrnas Dduw ar y ddaear, yr un hono a ddangoswyd i Daniel y Prophwyd, ganrifoedd yn ol?' Ie, dyna yw fy nhystiolaeth. 'A ydyw hyn yn ei wneuthur felly?' Nac ydyw, ond caniatewch i mi ddweyd wrthych ei fod yn wir; o ganlyniad tystiwyf am ei wirionedd, er nad yw fy nhystiolaeth yn cyfnewid y gwirionedd hwnw mewn un modd, y naill ffordd na'r llall, ac nid yw eiddo unrhyw ddyn arall, chwaith. Dyma ydyw fy nhystiolaeth, ac y bu yr holl amser.

Y rheswm paham y tystiwyf am y pethau hyn ydyw o herwydd y datguddiwyd hwynt i mi, ac nid i arall drosof. Ni ddatguddiwyd hwynt i Joseph Smith drosof fi. Yr oedd ganddo ef yr allweddau i gaffael gweledigaethau a datguddiadau, breuddwydion ac eglurhadau, a'r Yspryd Glân i'r bobl. Cyflwynwyd yr allweddau hyn iddo ef, a thrwy y weinidogaeth hono y bendithiodd efe enw Duw. Yr ydwyf fi wedi derbyn ysbryd Crist Iesu, yr hwn ydyw ysbryd y brophwydoliaeth. Nid yw

ein tystiolaeth ni yn gwneuthur hyn yn wir, na chelwyddau ein gelynion nad teyrnas Dduw ydyw yn gwneuthur hyny yn wir nac anwir. Saif y ffaith ar ei sail ei hun, ac a barha i sefyll heb ddim o egni plant dynion.

Dywedais wrthych yr achos o'r holl gynhwrf a'r cyffroad i'n herbyn. Y dall sydd yn tywys y dall, a phe byddai eu calonau yn uniawn, pe taflent ymaith wyneb-len rhagfarn a chyfeiliornus addysg rhieinyddiaeth, gallent dderbyn y gwirionedd gystal ag y gwnaethoch chwi a minau. Ar ambell dro dywed un 'ffarwel' wrth draddodiadau y tadau. Ambell rhai a daflant ymaith y rhagfarnau hyny a amgylchynant y bobl, a dywedant, 'nyni a ddarllenwn, a weddiwn, a feddyliwn, ac a fyfyriwn, a nyni a ofynwn i Dduw drosom ni ein hunain.' Dyna y reswm paham eich bod chwi a minnau yma heddyw. Gofynasom i Dduw am dystiolaeth, ac Efe sydd yn tystiolaethu o'r nefoedd mai hon ydyw y deyrnas a welodd Daniel, ac yr ydym ni wed ei chofleidio, ac y mae yn anwylach na phob peth arall ar wyneb y ddaear hon.

A ydym ni yn dysgwyl yr uda y diafliaid? Ydym. Pa bryd mae yr Eglwys hon wedi cael yr heddwch ag ydym ni wedi gael oddiar pan ydym ni wedi bod yn y 'mynyddau.' Ddim erioed. Pa le y mae yn awr heddwch ar wyneb y ddaear fel yr heddwch a fwynhasom ni yma? Ddim yn un lle. Dywed y brawd Smoot iddo fod yn y parthau isaf. Gallasai ddweyd hyny gyda phriodoldeb, canys, mewn ffaith, yr ydym oll yn y parthau isaf. Pa le y meddyliwch fod y cythrenliaid yn byw? A ydych chwi yn tybied bod y fath fôd a diafol mewn bodolaeth? y mae llawer yn credu ei fod. Pa le y mae yn byw? Daw yr atteb yn o barod, y mae yn byw yn uffern, wrth gwrs. Yna os oes diafliaid yma, rhaid ein bod ninnau yn uffern. Onid ydych chwi yn meddwl fod y diafol mewn poen? Gallaswn feddwl ei fod, wrth y tuchan sydd yn dyfod o'r dwyrain. Gwelwch mai gyda phriodoldeb y gallasai y brawd Smoot ddweyd iddo fod yn y parthau isaf, eithr erbyn y cyrhaedda yma er fod y codiad lawer yn uwch, y mae o hyd yn yr un byd. Yr ydym oll yma, ac yn amgylchynedig gan ddiafliaid.

Rhua dynion, ac ymferwant gan lidiawgrwydd a digofaint, ac ni wyddant yr achos o hono. Os meddyliant 'pa niwed a wnaeth y Mormoniaid i mi?' Y gwrtheb o'u meddyliau eu hunain a fydd, 'dim.' Pa beth eill y dynion hyny ddweyd yn wirioneddol ag ydynt wedi myned yn weddaidd trwy y lle hwn i wneud eu ffortun? Fod hwn yma yn lle o heddwch a boddlonrwydd; ac er yn fil o filltiroedd oddiwrth wareidd-dra, ac oddiwrth yr holl foethau a llawer o gysuron bywyd, etto yma y mae pobl ymddigonol, boddlongar a dedwydd. A niweidiasant hwy chwi? 'Naddo.' A driniasant hwy chwi yn dirion? 'Do.' Gofynwch i'r bobl yn y gorllewin beth yw y mater. 'Ni allwn ni ddweyd wrthych, ddim ond fod rhywun wedi dweyd rhywbeth.' Pa beth a ddywedwyd? 'Ni wydd-

om ni ; ddim ond son a glywsom ni ; dyna i gyd.'

Mae y bobl pellenig yn hollol mor ffol, anghall, a byr olwg ag y mae yn ddichonadwy eu cynrychioli gan y dynion goreu yn y byd. Pa beth maent hwy yn wneuthur? Yr hyn a fuont yn wneuthur o hyd. A fuont hwy yn ceisio distrywio Mormoniaeth? Buont. A ddarfu iddynt ei dinystrio pan gymmerasant hwy fywyd Joseph? Naddo. Mae 'Mormoniaeth' yma, mae yr offeiriadaeth yma, mae allweddau y deyrnas yma ar y ddaear, a phan aeth Joseph nid aethant hwy. A phe llwyddai y drygionus i ddwyn fy mywyd i, fe arhosai allweddai y deyrnas gyda yr Eglwys. Eithr fy ffydd i ydyw na lwyddant i gymmeryd fy mywyd yn union. Nid oes ganddynt gystal dyn i ddelio ag ef a phan yr oedd ganddynt Joseph Smith. Nid wyf yn proffesu bod yn dda iawn, ceisiaf ofalu am *number one* os os ydyw yn ddrwg i mi geisio cadw fy hun, ymgyndynaf yn hyny, canys bwriadaf ofalu am danaf fy hun.

Pan y lladdasant Joseph, soniasant am ladd amrai ereill. A goeliech chwi fod y gwrthgilwyr yn dweyd fy mod i yn gymhellydd marwolaeth Joseph a Hyrum? Ac mae William Smith wedi haeru mai myfi oedd achosydd marwolaeth Samuel, tra y gŵyr y brawd Woodraff, yr hwn sydd yma heddyw ein bod yn aros yn y *depot* yn Boston i gymmeryd teithwyr i'r dwyrain, ar yr amser pennodol pan y lladdwyd Joseph a Hyrum. Buodd y brawd Taylor yn agos cael ei ladd y pryd hwnw, a chafodd Dr. Richards braidd ddeifio ei farf ymaith gan y fflamiad o'r gynau. Yn mhen ychydig wythnosau wedi hyny bu farw Samuel Smith, a beïir fi megis achosydd ei farwolaeth. Ni chlywsom am farwolaeth Joseph cyn pen tair neu bedair wythnos wedi iddo gael ei frwnt ferthyru.

Pa beth yw y newyddion a gylchredir trwy yr Unol Dalaethau? I Cadben Gunnison gael ei ladd gan Brigham Young, ac i Babbit gael ei ladd ar y Gwastadedd gan Brigham Young a'i fyntai Ddanitaidd. Pa beth yn ychwanegol? Fod Brigham wedi lladd yr holl ddynion a fuont feirw rhwng afon Missouri a Chalifornia. Nid wyf yn dywedyd fod gan y Llywydd Buchanan, y fath ddychymyg, neu swyddogion y milwyr y sonir eu bod ar eu ffordd tuag yma, eithr felly mae ystoriau y newyddiaduron. Mae y fath soniadau yn y tegin, ac mae golygyddion a gwladwriaethwyr yn eu chwythu allan.

Yn ol eu cyfieithiad hwy, yr ydwyf yn euog o farwoloeth pob dyn, benyw, a phlentyn sydd wedi marw rhwng afon Missourri a mŵn aur California, ac y maent yn dyfod yma i'm fflangelli i. Gwna y meddylrith i mi chwerthin, a pha bryd y meddyliwch y cant gyfleustra? Y mae dal bob amser cyn crogi. Deallasant, chwi wyddoch, fy mod wedi myned i'r gogledd ac yn bwriadu gadael y lle hwn gyda y cyfrai a'm canlynai, ac y maent hwy (y milwyr) yn dyfod i gyhoeddi Jubili. Eu dymunad yw dweyd wrth y bobl hyn 'yr ydych yn rhydd, nid ydych i dan gaethiwed Brigham Young ; ni raid i chwi wisgo ei iau

yn hwy; yn awr ymfeddwn ymladdwn, chwareuwn gardiau a cheffylau redeg; a phob un o honoch chwi fenywod trowch allan i fod yn butteiniaid, a deuwch yn ymgymdeithiasol â gwareidd-dra Crist'nogrwydd. Dyna y ryddid a geisiant gyhoeddi yma.

Myfi a wnaf y cynnyg hwn i'n Ewythr Sam, [y Llywodraeth.] Myfi a ddiwallaf gerbydau, ceffylau, y goreuon o yrwyr, a'r bwyd goreu a feddaf, i drawsfudo i'r Talaethau bob dyn, benyw, a phlentyn a ddymuna adael y lle hwn, os enfyn efe, [ein ewythr Sam] yn mlaen ar ei gost ei hun yr holl rhai hyny a ddymunant ddyfod i Utah, a nyni a gawn fil am ei un ef, fel y gŵyr pawb yn dda a ddeallant y mater. Buasai lawer yn well pe llwythasid y wageni a sonir eu bod ar eu ffordd yma â dynion, benywod, a phlant, nag â 'lluniaeth i gynnal milwyr; canys ni ddeuant byth yma heb i ni eu cynnorthwyo; ac ni feddyliwyf chwaith fod bwriad y Llywydd Buchanan iddynt ddyfod yma.

Nid wyf yn myned i ddehongli breuddwydion; canys ni phroffeswyf fy mod y fath brophwyd ag ydoedd Joseph Smith a Daniel, ond yr ydwyf yn ddyfalwr Yankeaidd. *(Yankee Guesser)* a dyfalwyf i James Buchanan erchi yr ymgyrch hon i dawelu llidiawgrwydd yr hel-gŵn chwerw ag ydynt yn udo o'i amgylch. Ni fwriadodd gychwyn dynion ar y 15fed o Gorphenaf i groesi y Gwastadedd hyn i'r lle hwn ar draed. Mae Russell & Co yn debyg o wneuthur o wyth i ddeg can mil o ddoleri wrth gludo llwythi yr ymgyrch. Pa beth a gymhellai y llywodraeth i dreulio y swm hon o arian dros y Diriogaeth hon? Tair blynedd yn ol cymhwysasant 45.000 doler i'r dyben o wneuthur cedd-ammodau gyda'r Indiaid Utahaidd. A anfonwyd hyd yn nod y swm fechan hono yma erioed? Y mae yn mlychau y Llywodraeth hyd y dydd heddyw oddieithr eu bod wedi ei lladratta allan, neu ei thalu allan yn afreolaidd i ryw ddyben arall.

A dalasant hwy erioed eu dyledion i Utah? Naddo; ac yn awr y maent wedi coroni gwaelder wrth gymmeryd y llythyr-gerbyd o ddwylaw Hiram Kimball, yn unig o herwydd y gwyddent ei fod yn aelod o'r Eglwys hon. Pe buasai ddim ond wedi gwrthgilio mewn tymhor, ac ysgrifenu celwyddau am danom, nid tebyg y cymmerid ei lythyr gludiaeth ammodol oddiwrtho, heb y cysgod lleiaf o o wg, fel y mae yn awr wedi bod. Yr oedd efe i gael 23.000 o ddoleri am gludo y llythyr-gerbyd o Independance i'r ddinas hon, unwaith y mis, yr hwn oedd y cynnyg iselaf; eithr o herwydd ei fod yn 'Formon,' rhaid diddymu y cytundeb, a hynny hefyd wedi iddo osod y wasanaeth ffyddlonaf a medrusaf, o lawer, ar y ffordd nag a fu erioed, fel y deallir yn ddigon da yn Washington. Pe meddyliwn yr atebid fy ngweddi, gweddiwn na ddeuai llythyr-gerbyd Unol Daleithiol yma byth etto; canys hyd oni ddechreuodd Mr. Kinball, ei wasanaeth, y mae wedi bod yn ffynonell barhaus o

ffinder a siomedigaeth, ac, i ni, yn golled. Gallwn gludo ein llythyr-gerbydau ein hunain, codi ein llwch ein hunain, a chynnal ein hunain.

Ond gwae, gwae i'r dyn hwnw a ddaw yma i ymyraeth yn anghyfreithlon â mi a'r bobl hyn. Myfi a dyngais yn Nauvoo, pan yr oedd fy ngelynion yn syllu yn fy ngwyneb, yr anfonwn hwynt i uffern y ffordd fyraf, os ymyraeth wnaent â mi, ac ni ofynwyf amgen gan holl uffern heddyw. Os lladdant fi, pob peth yn iawn; eithr ni wnant cyn dei yr amser, a meddyliwyf y byddaf farw marwolaeth naturiol, o leiaf, disgwylaf hyny.

Oni wnelai unrhyw ddyn neu gyfundeb yn lidiog i barhaus oddef, ac adfeddwi am y cam driniaeth mae ein gelynion wedi ei bentyru arnom, ac o hyd yn ymegnio i'w harllwys allan ar bobl Duw? . . .

Mae ein hawnderau llythyr gludol, ag iawnderau a breintiau eraill o'n heiddo yn cael eu sarnu tan draed yn y modd mwyaf anghyfiawn; eithr gallant waro miliynau i godi dwndwr a gwneud allan fod rhywbeth allan o le yn cael ei gyflawni yn Utah.

Bydded myfi yn Llywydd yr Unol Dalaethau am yspaid byr, a mi a ddywedwn wrth Seneddwyr, Cynrychiolwyr, a swyddogion ereill y Llywodraeth, Foneddigion, rhaid i chwi ymddwyn mal dynion, a gwladwriaethwyr, neu myfi a'ch ceryddaf. Am ba beth y maent lidiog wrthyf? O herwydd y ceryddaf ddynion am eu drygioni, ac o herwydd bod genyf y fath ddylanwad yma, y peth pennodol y maent hwy oll ar ei ol. Meddyliant ei cant gydag arian, eithr ni allant ei wneuthur.

Nid oes dylanwad, gwirionedd, na chyfiawnder yn y byd ar nad yw yn dylifo oddiwrth Duw ein Tad yn y nefoedd. Mae genym ni y gallu a'r dylanwad hwnw; mae genym hefyd y fath gariad a darostyngeiddrwydd fel yr ymddarostyngwn i'n Tad a'n Duw fel y gwna plentyn i riant tirion.

Bendithied Duw chwi, frodyr a chwiorydd. Amen.

---

## RHYBUDD PROPHWYDOL I DRIGOLION YNYS PRYDAIN.

---

*(Gan yr Apostol Orson Pratt.)*

Gan ddisgwyl i fuan adael Prydain Fawr, a dychwelyd i'n cartref fynyddig yn Nhiriogaeth Utah, teimlwn yn ddyledswyddog i adael gyda thrigolion y gwledydd hyn rhybudd dwys yn nghylch y cyfryw bethau a fuan ddigwyddant iddynt; ac i bwyntio allan eu hunig ffordd o ddiangfa.

Gan fod yn alwedig ac anfonedig gan Dduw, dywedwn, yn y modd mwyaf gostyngedig a pharchus, wrth ei Mawrhydi Grasusaf y Frenhines, ac wrth holl Arglwyddi, Mawrion, Rheolwyr, Awdurdodau, a Phreswylyddion yn Nheyrnas Unol Pryd-

ain Fawr. fod y Duw Hollalluog, yo y bedwaredd ganrif ar bumtheg hon wedi gosod i fyny ei Deyrnas Olaf-ddydd ar y ddaear; fel y rhag-draethwyd gan ei Brophwydi a'i Apostolion cyntefig. Anfonwyd angylion o'r nefoedd, gan ba rhai y cyflwynwyd gallu ac awdurdod ar amrai, nid yn unig i osod fyny a chorffori y Deyrnas, ond i weini yn mhob peth perthynol i'r unrhyw. Y cenhadon ysbrydoledig hyn a anfonwyd wrth orchymyn Duw, at yn agos bob cenedl tan y nef, a thystiasant mewn gostyngeiddrwydd ac addfwynder, ond, er hyny, gydag hyfdra mawr, fod dydd mawr a dychrynllyd yr Arglwydd wrth law, ac fod y deyrnas ddarpariadol yn sefydledig yn uchderau y mynyddoedd, ar yr hanner-gron fawr orllewinol.

Breniniaethau y byd hwn ydynt wedi heneiddio; ac, o herwydd drygioni, maent wedi eu tynghedu i gael eu cyflym ddryllio; eithr teyrnas Dduw a bery byth. Ei thynghed ydyw cynnyddu mewn cryfder, nerth, ac arglwyddiaeth, ac i ddal rheolaeth dros yr holl ddaear. Y cenedloedd neu y teyrnasoedd hyny nad ymgyssylltant â theyrnas Dduw, a dyfod yn un gyda hi, gan anrhydeddu ei chyfreithiau a'i sefydliadau, a gant lwyr drengu, ac ni cheir lle iddynt

Gyda golwg ar y pethau hyn, megis gwas y Goruchaf Dduw, gostyngedig ddeisyfwn holl bobl y gwledydd hyni edifarhau; ac yn enw yr Arglwydd annogwn chwi i osod ymaith y drygau a'r ffieidd-dra sydd yn eich canol, a cheisiwch yr Arglwydd a'i deyrnas, a maddeuir i chwi, a'ch troseddiadau mawrion a ddileir, a chewch ddyfod yn gangen fawr a nerthol o'r ddwyfol lywodraeth sydd i lanw yr holl ddaearf ac o hyny allan gael eich llywodraethu gan ei chyfreithiau.

Eithr os chwychwi megis cenedl ni edifarhewch, a chysylltu eich hunain gyda theyrnas Duw, yna mae y dyddiau yn agos wrth law pan y cesglir y cyfiawn allan o'ch mysg; a gwae chwi pan ddel y dydd hwnw! canys caiff fod yn ddydd dial ar y genedl Fryteinig; a'ch byddinoedd gant drengu; eich nerthoedd morawl gant beidio, eich dinasoedd a anrheithir, a losgir, ac a wneir yn anghyfannedd, a'ch cadarn-leoedd a deflir i lawr; y tlodion gant gyfodi yn erbyn y cyfoethogion, a'u hystor-dai a'u gwych drigfanau a yspeilir, en masnachaeth, a'u aur a'u harian, a'u trysorau gwerthfawr, a yspeilir; yna yr Arglwyddi, a'r Mawrion, a masnachwyr y tir, a phawb mewn llefydd uchel, a ddarostyngir, a chant eistedd yn y llwch, ag udo am yr helbulon a fyddant arnynt; a'r rhai a fasnachant yn forawl a alarant ac a wylant; canys eu masnach a ball.

Ac felly yr ymwel yr Arglwydd Hollalluog â chwi, o herwydd eich drygioni mawr mewn gwrthod ei weision a'i Deyrnas; ac os parhewch i galedi eich calonau, eich gweddillion y rhai a adawir a ddifethir fel y sofl sych o flaen y fflam angherddol, a'r holl dir a lanheir gan dân yr Arglwydd, fel na ddelo ei fudredd i fyny mwyach o'i flaen Ef,

Eich byddinoedd yn India a darawyd eisioes gan farnedigaeth lŷm-dost, o herwydd iddynt daflu allan weision yr Arglwydd y rhai a anfonwyd i'w rhybuddio, ac i brophwydo wrthynt:

hwynt hwy a wrthodwyd gan eich cenhadon a'ch swyddogion, o chan fod heb bwrs nac ysgrepan, nid oedd ganddynt "le i roi eu penau i lawr.,' Ond yr oeddynt yn ffyddlon mewn cyflwyno eu cennad rhybuddiol hyd oni alwodd yr Arglwydd hwynt o'u plith, fel y gallai Efe weini barn, a dangos i bob cenedl na ellir gwrthod ei weision Ef gydag haerllugrwydd. Cymmered Prydain Fawr rybudd ! a pheidio dilyn esiamplau drwg yr Ewropiaid yn India. Eich hymprydiau a'ch gweddiau a fyddant yn gellwair difrif o flaen Duw, os na dderbyniwch y genad a anfonodd Efe Er y pennodwch ddyddiau o ymprydd a darostyngeiddrwydd gerbron ya Arglwydd, etto ni wrendy Efe arnoch, nac ateb eich deisyfiadau, cyhyd ag na dderbyniwch ei deyrnas, a thrin ei weision gyda gwg. Efe a watwar eich galanastra ac a'u hamlhâ arnoch,hyd oni threulir chwi ymaith mal us o flaen corwynt y mynyddoedd

---

## I'REGETHU I'R BYD.

Cwmhên, Llangunllo,
Hydref 2, 1857.

Anwyl Lywydd Daniels,—

Da genyf o'r diwedd i gael y cyfle i ysgrifaw attoch ychydig o'm helynt. Buaswn wedi gwneud hyn yn gynt pe bnasai genyf hamdden a chyfle i gael *Post Office* i osod y llythyr i mewn. Yr wyf wedi bod yma a thraw am lawer o filltiroedd mewn lleoedd lled anadnabyddus i mi o'r blaen yn Ngheredigion.

Yr wyf wedi pregethu a thystiolaethu hwnt ag yma mewn amryw leoedd na chlywsant unrhyw Sant o'r blaen. Achlysurwyd hyn yn benaf oherwydd fod rhai o'm perthynasau anadnabyddus yn byw mewn ardaloedd na fum ynddynt erioed yn flaenorol. A chymmerais ef yn bwnc i rybyddio pawb a gwrddwn ac a welwn.

Chwi ryfeddech pe byddech yn y cylchoedd hyn, i gael ar ddeall mor or-ddwfn y mae y crefyddwyr gau a selog hyn wedi soddi mewn hên arferion, a gwreiddio mewn hên draddodiadau —braidd ead wyf yn credu eu bod, filoedd o honynt, wedi myned yn hyn. yn ddeddf iddynt eu hunain.

Yr wyf erbyn hyn heb bwis nac ysgrip, yn profi y byd, a'r byd a'i drigolion—y diafol a'i weision yn ceisio fy mhrofi innau.

Yr wyf yn diolch i'm Tad Nefol am y nerth a dderbyniaf oddiwrtho i orchfygu hyd yma, a rhoddi i mi dystiolaeth fod fy nhystiolaeth yn gwreiddio yn ddwfn yn nghalonau llawer un onest ei galon.

Teithiais lawer o Swydd Caerfyrddin lle nad oes yr un Sant, a llawer mwy o Swydd Ceredigion, Gwelais un brawd o Sant er ys tua phythefnos yn ol, Dyna beth *nice* iawn yw anadlu

mewn awyrgylch lle y mae Saint Duw yn preswylio, rhagor i breswylio 'n ymdeithiol yn mhlith Cristianogion traddodiadol gelynol i'r gwirionedd. Dedwyddach er hyny cael y fraint o fod yn rhydd a glân oddiwrth waed y dynion y llafurir yn eu mysg. Mae fy ymdrech at hyn. Yr wyf yn gweddio yn aml hefyd dros drigolion hen wlad fy ngenedigaeth. Rhy grefyddol yw y rhan amlaf o honynt i gredu y gwirionedd!

Bum yn pregethu a lan y ddoe i dyrfa luosog yn yml Capel y Bedyddwyr yn Llandyssul, lle yr wyf yn bresennol yn gorphen ysgrifenu y llythyr hwn atoch. Cyhoeddwyd fi yn y cyfarfod, a daeth lluaws o'r aelodau i'm gwrando, heblaw ugeiniau eraill. Ymddygwyd yn hollol foneddigaidd, a chefais fwyd yn nhy cymmydog, a dymunir arnaf bregethu yma drachefn, ac, os caf gyfle, bwriadaf wneyd hyny.

Bwriadwyf gychwyn i ardal y Cwrtnewydd, a gwneyd fy ngoreu yno dros rai dyddiau. Yna bydd angen i mi deithio trwy y wlad rhwng y lle hwnw a'r môr, trwy Llanarth, Llandyss lo a phenrhyn. . .

Mae fy ffydd yn parhau hyd yn hyn i gael lletty, a bwyd oddigerth ambell waith, ac ambell noswaith y telais am le; orwedd. Nid wyf yn gweled lliw ceiniog braidd yn un mani ond mae y bara'chaws, y llaeth, a chawl trwy y trwch yn cyttuno â mi yn ffamws dros ben.

> Gwlad y ceirch, a'r haidd melynwŷn,
> Gwlad y gwenith coch ei blisgyn,
> Gwlad yr ymborth iachaf imi,
> Ydyw ardal hen Gian Deifi.

Gwynfyd na buaasi genyt draethodau, ond nid oes help yn awr. . .

Eich brawd,

D. E. JONES

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

### DYDD SADWRN, HYDREF 24, 1857.

ANNERCHIAD YMADAWOL Y Llywydd Pratt yn y 'Star' sydd fel y canlyn:—

GAN gaffael caniatad gan y Llywydd Young i gau ein llafurwaith yn y genadiaeth hon, a dychwelyd i'n cartref yn y mynyddau, dysgwyliwn eisioes at y dydd gyda mawr foddlonrwydd. Yn ddarpariadol i hynny, terfynwn ein llafuriaeth

mewn cyssylltiad a'r *Star*, ac yr ydym wedi galw yr Henuriad Samuel Whitney Richards i'n olynu yn Llywyddiaeth y Genadiaeth Frytanaidd.

Mae yr Henuriad Richards wedi newydd gyrhaedd oddiwrth y Llywyddiaeth yn Seion, gan ba rai ei anfonwyd allan i gynghori ac addysgu yr Henuriaid a'r Saint gwasgaredig ar led, yn y pethau hyny sydd yn perthynu yn fwyaf neillduol iddynt. Adnewyddwyd llawer arnom, a mawr gynnyddwyd ein llawenydd, gan ei gyrhaeddiad i'r glannau hyn, a'r newydd ion hoff a dderbyniasom o fanteision a mwynhad cyflym gynnyddol teyrnas Dduw, a threigliad allan ei ddybenion. I luaws, mae yr Henuriad Richards yn eithaf adnabyddus oddiwrth ei lafnriau effeithiol blaenorol megis Llywydd yr Eglwys yn y gwledydd hyn ; a gwnawn ddim ond dweyd wrth y Saint, Rhoddwch iddo eich ffydd a'ch gweddiau, a thalwch sylw manwl i'w addysgiadau a'i gynghorion, ac efe a fydd yn offeryn yn llaw Duw, trwy yr hwn y daw llawer o fendith ac iachawdwriaeth i chwi I'r perwyl yma mae ganddo ein bendith fwyaf, a bendith y Llywyddiaeth yn Seion.

Wrth derfynu ein llafur golygyddol, ail-adroddwn o galon wrth y Saint a'r byd ein holl dystiolaethau blaenorol am wirionedd y gwaith Olaf-ddydd hwn. Y Saint ag ydynt yn derbyn yr Efengyl, ac yn mwynhau ei Hysbryd, ydynt yn *gwybod* ei wirionedd drostyntu e hunain, canys dug yr Ysbryd dystiolaeth; ac yn y dydd mawr hwnw pan y geilw Barnwr mawr yr holl ddaear ysbrydion bob enawd o'i flaen, y rhai hyny nad ufuddhant yr Efengyl, ac na dderbyniant yr Ysbryd Glân, a gant wybod mai gwir ein tystiolaeth.

Gan y dymunwn gael ein ryddhau oddiwrth y gofal a'r anesmwythder sydd o anghenrhaid yn cyd-fyned â galwedigaeth mor bwysig, rhaid cyfeirio pob gohebiaethau perthynol i Lywyddiaeth y Genadiaeth Ewropaidd i Samuel W. Richards, yn lle

ORSON PRATT.

---

RHAGYMADRODDOL.—Wrth ddechreu ein llafur golygyddol o'r *Star*, dysgwyliwn gael ein esgusodi rhag gwneuthur yr *apologus* arferol gan ddynion dysgedig, gan yr ofnem amlygu ein anwybodaeth ormod yn y cynyg. Yn o annysgwyliadwy i ni, cyflëir ein enw i'w ddarllenwyr fel y cyfryw ar ba un y gorphwys y cyfryw lafur, ac ymdrechwn ei gyflawni hyd eithaf ein gallu. Os llwyddwn i adeiladu, hyfforddi, ac addysgu ein darllenwyr, teimlwn yn ddiolchgar iawn mewn cael bod yr offeryn anrhydeddus o wneuthur ychydig ddaioni ar y ddaear, tra yr anghenir cymmaint.

Mor belled ag y deallwn ofynia lau ac anghenion y Saint, ymdrechwn eu diwallu. Mae ein cenadiaeth bresenol yn fwyaf neillduol i lesoli y Saint, nag i bregethu edifeirwch i'r annuw

iolion; etto, fel gwas i Dduw, parod ydym bob amsor i ddal ein tystiolaeth am wirionedd yr Efengyl Dragywyddol fel ei datguddiwyd i'r Prophwyd Joseph Smith, allweddau a gallu yr hon a ddelir yn awr gan, ac a ydynt mewn llawn nerth o dan weinidogaeth y Llywydd Brigham Young; ac ni all un gallu eu cymmeryd oddiar y ddaear, hyd oni ddel llywodraeth Duw o dan weinidogaeth Prophwyd, yn gyffredinol yn ei yswyaeth dros bawb creaduriaid ar y ddaear.

I ofalu am a gweini i'r Saint a fydd ein hystyriaeth flaenaf, a gallwn eu sicrhau fod Duw yn gofus o honynt, ac mae ei weision yn Seion hefyd yn gofus o honynt, neu gallasem fod yn awr yn ymwneyd a gorchwyl gwahanol i ysgrifenu i'r *Star.* Ni waeth gan y byd am y Saint, dim ond i'w sarnu dan draed a'u dinystrio; o ganlyniad, dywed yr Arglwydd mai ei fusnes Ef ydyw darparu dros ei Saint, ac fe ddywed er's hir amser yn ol 'na wna Efe ddim ar na ddadguddia ei gyfrinach i'w weision y prophwydi.' Am hyny, os byth y dysgwn pa beth a ddarpara yr Arglwydd i'w Saint, gwyddom pa le i edrych am yr hysbysiaeth—daw trwy ei Brophwyd. Ufydd dod parod i'r Prophwyd hwnw a sicrha bob bendith ag ydym yn medru ei derbyn er ein hiachawdwriaeth bresennol a dyfodol, mewn cymhwysiad cyffredinol at yr Eglwys; eithr deillia gryn fendith bersonol drwy egni personol yn gysylltiedig ag ufudd dod; Caiff pawb yn Nheyrnas Duw y wobr a haedda eu hymegniadau.

Sicrhaer pawb Saint mai pa gyfnewidiadau bynnag a wneir mewn naill ai gweinidogaeth neu drefn, yn effeithiol i'w dymuniadau neu eu disgwyliadau, byddant oll er y goreu, ac a brofant i fod yr unig gyfrwng trwy ba un y ceir iachawdwriaeth. Llygad y Prophwyd sydd lygad gweledigaeth; cenfydd y dyfodol, a galluoga ef i ddarparu am ei ddrygau; eithr mae y dyddiau wedi dyfod, yn mha rai, pan na fyddo gweledigaeth, y rhaid i'r bobl drengu. Ffordd yr Arglwydd—er nad ein ffordd ni y dichon fod—nid llai ydyw yn ffordd heddwch a bywyd. Rhodiwn, gan hyny, yn ffyddlon ynddi. Os dywedir wrthom nad yw ffordd yr Arglwydd i Seion trwy y Talaethau Unol, nac awn y ffordd hono, os dywedir wrthom gan y Prophwyd mai rhyw ffordd arall ydyw, byddwn barod i fyned ynddi, a nyni a gawn waredigaeth, heddwch, ac iachawdwriaety.

Yn ystod ein absennoldeb o'r wlad hon, o ychydig yn fwy nâ thair mlynedd, yr ydym wedi mawr fwynhau ein llafuriau a'n ymgymdeithasiad gyda phobl Duw yn Seion, Maent hwy yn bobl bendithiedig uwchlaw pob pobl eraill, ac mae Duw yn gyfaill iddynt. Llofruddiaeth, deniaeth benywod, babanleiddiaeth, drwg yn mhob llun, a'r gosgorddion dirif o ddrygau sydd mor gyffredin yn mhob cyfundeb Cristianogol, ydynt yn ddison am danynt yno. Nid oes cynhenau chwerw, yn cyfodi oddiar achosion cartrefol neu wladwriaethol, yn aflonyddu heddwch pobl ag ydynt yn un mewn ffydd, un mewn gweith-

redoedd, ac un ynddo Ef—y Mab o Heddwch, Eithr yn awr, mae yr olygfa wedi cyfnewid i ni—cyfnewidiad na all neb ddeall, ond y rhai sydd wedi ei brofi. Pob cwlwm ar sydd yn cysylltu dyn wrth ei gyd-ddyn pa un ai o gyd-waedoliaeth, priodas, neu unrhyw rhwymiad cymdeithasol, sydd yn cael ei ddattod gan weithredoedd o lofruddiaeth, trais a phutteindra, tra y mae Ysbryd halogrwydd, meddwdod, a phob math o ddrwg a: anfoesoldeb yn ben yn mhob gradd o gymdeithas. Mae rhinwedd, fel peth ag oedd, a chywilydd, ei eppil, wedi encilio i gylchoedd santeiddiach, i wrido yn anweledig dros weithredoedd y cyfrai na chant le ynddynt. Tafod hyawdledd ac ysgrifell yr ysgrifenydd medrus a ddefnyddiwyd yn ofer i attal gorlifiad drygioni ag sydd yn dyngedig i anghyfaneddu y ddaear. Dengys profiad beunyddiol mai *ychydig fydd y rhai a achubir*, ac i chwilio allan, gwylied dros, casglu i fyny, a gwaredu yr ychydig hyny, sydd yn dyfod yn brif-ddyledswydd yr Offeiriadaeth Dan yr amgylchiadau hyn, gydag ychydig obaith am gyflawniad llawer o ddaioni i'r byd, amgen nag i ddadenhuddo gwirionedd, fel y byddont ddiesgus, dechreuwn lafur pwysig ein galwedigaeth, gan daer ddeisyf bendith y Nef ar ein hymdrechiadau, a deisyf gweddiau y ffyddlon ar ein rhan.

Mae yr Henuriad Henry Whittall, enw yr hwn sydd eisioes yn ddigon hysbys i'n darllenwyr, wedi cael ei alw i'n cynnorthwyr mewn cysylltiad a'r *Star*. Un ydyw sydd a'r cyfryw allu a'n cynnorthwya gryn lawer yn ngyflawniad ein gorchwylion, ac ysgrifell yr hwn a aml gryfha a chysuro y Saint.

Gohebiaethau oddiwrth yr Henuriaid, neu ereill, i'r *Star* mewn naill a'i farddoniaeth neu adnod, a gaiff ein sylw,

S W. RICHARDS.

---

YMFUDIAETH.—Ymholir eisioes ynghylch tebygolrwydd ymfudiaeth o'r wlad hon y tymhor nesaf. Hysbys i ni y mawr anesmwythder yn meddyliau y Saint ynghylch yr ymfudiad; a defnyddiwn yr adeg gynnar yma i fynegu y bydd yn ddichon adwy y caiff ryw ychydig gyfleustra i ymfudo i Utah y gwanwyn nesaf. Os felly y dygwydd fod, bydd i neb ond y cyfrai a feddant ddigon o fodd i'w cymmeryd trwyodd yn gyfeiriol, heb oediad ar y ffordd. Os meddianna y Saint eu heneidiau mewn amynedd am ysbaid byr, hwy a gant y ffordd yn agored etto iddynt fyned allan o Babilon. Yn y cyfamser parhäed y rhai sydd a blaen-daloedd yn y Swyddfa hon i ychwanegu attynt gymmaint ag sydd yn bosibl, yn gymmaint ag y gall amser eich hymfudiad amddibynu ar hyny o fodd fydd wrth eich erchiad. Byddwch ffyddlon a diwyd yn eich goruchwylion, yn arbedog a chynnil gyda eich harian, fel pan egyr y drws y byddwch barod i fyned. Na fyddwch or awydd u yn nghylch y dyfodol. Unrhyw addysgiadau a fyddo genym

roddi, a drosglwyddir mewn amser priodol i'r rhai a lywyddant drosoch, neu trwy y *Star* i'r Saint. Darogana arwyddion yr amserau lawer i'r sylwr craff. Gwyliwch chwi! rhagwelwch y drygioni, a cnadwch allan o lwybr y gelyn.

---

SYLWER.—Mae pob taliadau a materion arianol a busnesol perthynol i Swyddfa y *Star* i gael eu hanfon yn enw Asa Calkin, a'r rhai llywyddol, athrawiaethol, &c., i S. W. Richards

---

Mae y Llywydd Richards wedi galw yr Henuriad Calkin yn Gynghorydd Blaenaf, a George G. Snyder yn Ail Gynghorydd iddo ef, yn Llywyddiaeth y Genadiaeth Ewropaidd

---

CAM-ARFERIAD sydd eisiau ei gywiro, ydyw gofyn cludiad llyfrau yn nghyfrif y degwm. Caniatawyd hyny gogyfer a thraethodau Pratt, gan nad oedd elw ynddynt; eithr ddim gogyfer ag unrhyw lyfrau ereill.

---

ARWYDDION YR AMSERAU cythryblus presenol ydynt ddaroganol o gyflawniad prophwydoliaethau mwyaf mawreddog yr holl brophwydi a fuont erioed ar y ddaear hon. I'r annuwiol addawir rhyfeloedd a son am rhyfeloedd, newyn, haint,—arllwysiad y phiolau barnawl a sonir am danynt yn natguddiadau Ioan: i'r Saint waredigaeth a llywodraeth

Yr Efengyl am *y deyrnas* sydd wedi cael ei ffyddlon bregethu, gyda addewid o'i bendithion i'r ufudd, a bygythiad am wrthodiad yr anufydd. Anufudd dod i, ac anndifadrwydd o'r Efengyl yw yr achos o sefyllfa lygredig aflan, ddrewllyd, a ffiaidd ein byd. Efengylau dyn darddiol ydynt wedi methu attal y ffrwd orlifol o bechod ag sydd wedi diluwio ein byd syrthiedig; ac, fel y dyn a geisiai godi ei hun gerfydd dolen y basged y safai ynddi, neu yr athraw a geisiai ddysgu ei ysgolhaig yn gallach nag ef ei hun mae trefniadau dynion wedi methu roddi dwyfol ddysg, a chyfreithiau nefolaidd i ddynolryw, eithr i'r gwrthwyneb. Maent wedi llanw "gardd Cristianogaeth" â chwyn marwol wenwynig, fel nad oes ond "tân yr Arglwydd" a'u dadwreiddiant

Y byd cyn ddiliwiol, Sodom a Gomorah, neu Babilon gyntefig, nid ydynt i'w cydmaru ag eithafion ffieidd-dra y bedwaredd ganrif ar bumtheg. Pa ryfedd ynte fod Duw wedi, ac yn parhau i gasglu ei bobl allan? Er holl rhag-ddywediadau y Beibl am ddinystr Babilon y dyddiau diweddaf, a chasgliad

Israel, ni all neu ni fyn, sectariaid beibl-addolgar ein hoes eu gweled, ae erlidiant y rhai a'u dangosant.

Am flynyddau dilynol mae gweision addfwyn yr Iôr wedi tirion wahodd dynion i gymmod â'u Duw—i adael eu puttein-dra, a'u holl ddrygau marwol, ac ymarferyd egwyddorion iachawdwriaeth; ond, gydag ychydig eithriadau, yn ofer, megis ag yn nyddiau Noah. Mae dynion wedi gwrthod cenadwri y nef, lladd ei phrophwydi a'i Hapostolion, a gwargaledu yn eu drygioni hyd onid yw Duw ei hun yn taer gymhell ei Saint i ffoi o'u plith fel y tywallto Efe ei farn.

Saint Cymru! A ydych chwi yn barod pe deuai yr alwad yn ddisymmwth fel y daeth i'r Israeliaid yn yr Aipht? A ydych chwi yn dlotach eich hamgylchiadau nag oeddynt hwy? Onid yr un Duw sydd yn teyrnasu yn awr? Ac oni ddynoetha Efe ei fraich yn ngasgliad ei bobl yn y dyddiau diweddaf, a chyflawni pethau mwy ryfeddol na chynt?

Eithr cofier mai 'llawer a alwyd, ond ychydig a ddewisiwyd.' Mae y Diwygiad a fu, a'r profion llymach a ddeuant wedi ac yn myned i wahaniaethu rhwng gwasanaethwyr Duw a mammon. Nac anghofier dammeg y morwynion.

Ni ofynir i'r Saint yn hwy i ffwdanu ar ol dynion gwar galed, cellwerus, a diystyrllyd i bregethu yr Efengyl wrthynt heb gael gofyniad i hyny; eithr i rybuddio pawb am y barnau dychrynllyd sydd wrth y drws a phwyntio allan y ffordd i ddianc, fel na fyddo un yn anwybodus.

Cynnalier cyfarfodydd gweddi yn gysson, ac adeiladed a chysured y Saint ffyddlon eu gilydd, gan anfon i fyny eu hocheneidiau at orsedd eu Tad dros lwyddiant a goruchafiaeth Seion ar bob gelyn, a thros eu gwaredigaeth hwy; canys, yn wir yn wir, mae angen eu gweddi y dyddiau hyn, ac nid oes y ganfed rhan o'r hyn a ellid wedi cael ei ddweyd, eithr gadewir i'r doeth i farnu. Ymneshawn at, ac ymlynwn wrth ein gilydd; byddwn ddystaw a diymffrost; mae y drwg yn agos, a'r cyfleus-tra i ffoi *wrth y drws.* Pwy sydd yn barod?

## RHESYMAU

*Yr Henuriad John E. Jones dros ymgasglu i Seion.*

---

GOGONIANT pob dyn yw ei fywyd, a chan fod y bywyd tragywyddol yn hirach a dedwyddach na 'r un byr, gofidus, ac amserol presenol, yr ymdrecha gymmaint am ei gael, a thros y cyfryw, y mae ei sel a'i benderfyniad gryfaf o ddim dan haul. Gorthrymu a chaethiwo dyn, oherwydd ei grefydd, sydd a chysylltiad i ddwyn y bywyd hwn, yw y gorthrwm a'r caethiwed trymaf y gall dyn byth fyned iddo. A chan fy mod i yn y sefyllfa hon, yn ngwlad fy ngenedigaeth, yr ydwyf am fyned 'allan o honi hi.'

I. Yr ydwyf, oherwydd y goreu garaf (sef fy nghrefydd) yn y wlad hon yn 'gas gan bawb.'

Profant hyn trwy fy ngwawdio, fy nifenwi, erlid, baeddu, tyngu, rhegu, a'm cerrigio, a rhai prydiau yn gorfod dianc am fy mywyd i rywle am noddfa rhag ymlidwyr fy ngwaed, ac, er y cyfan, byddaf yn fynych yn anffodus, a'm nawddle namyn gwell na ffua lladron, a minnau yn eu plith fel oen yn mhlith bleiddiaid.

Fy nghaseiwyr ydynt offeiriaid, pregethwyr, golygyddion crefyddwyr, meddwon, lladron, putteinwyr, a llofruddion. Y crefyddwr penaf yw y blaenaf yn mhlith yr erlidwyr, a'r cyntaf, crochaf ei lais yn crio, "Ymaith ag ef, lluchiwch a gyrwch ef o'r lle, nid teilyngach iddo ei fywyd na 'r llofrudd. Yna y crefyddol a'r anghrefyddol yn un cor ydynt yn cyd-daro i'r dôn, gydag "*hurrah!*" i'w dechreu mewn *bedlam chord*, yn *fass*, *tenor*, *treble*, a *chounter*, a'r urddasolaf o honynt yn gwneuthur tônau newyddion, (chwedl newyddiadur) a'u cynnorthwy gyda 'r *hw hw bagpipe*ol uffernol "amlwreigiaeth," 'milwyr yn myned i ladd y Seintiau,' &c. Cydsyniant oll mewn un frawdoliaeth i geisio fy mhoeni i farwolaeth.

Dyn ydwyf finnau, a theimlad dynol ynof. Ni ddysgodd fy mam na natur mydd i fod yn foddlon i aros yn y fath amgylchiadau; am hyny, âf, os gallaf, allan o honi hi, sef Babil

II. Yn y wlad hon y mae yn teyrnasu, yn bersonol, teuluol cymdeithasol, a gwladyddol, celwydd, cenfigen, anghyfiawnder

twyll, casineb, trais, gormes, brad, amryson, rhyfel, a dinystr tymhorol ac ysbrydol. Yma mae cybuddion, lladron, putteinwyr, a phob dosparth arall sydd yn gwasanaethu i ddwyn dinystr. Yma y mae clefydau o bob math—twymynau, ugeiniau o fathau yn cael eu cenedlu yn ddyddiol trwy anghymmedroldeb a cham-ymddygiad. Yma mae miloedd o engylesau ein daear-bwriadol gynnorthwyadau a chysuron bywyd dyn, a cyfranogwyr o'i wynfyd a'i adfyd, a llyfnwyr garwder ei dalcen gan groesion bywyd—rhai a fagwyd yn gynnes ar fronau y mamau mwyaf tyner a rhinweddol—yn pydru yn fyw ar eu traed, a marwolaeth yn cuddio eu gwarth, a hyny flwydd yn ar ol blwyddyn. Brechau, darfodedigaeth, clwy'r brenin, cancer, a phob dinystrydd bywyd ydynt yn ysu eu miloedd yn barhaus, tra yn aros cyfnerthiad clefydau a heintiau newyddion i chwyddo eu rhestrau dinystriol, pan y tywallt Duw ei farnau melldigedigol ar Babilon ffiaidd. Yma mae rhyfeloedd a son am ryfeloedd o hyd ar gynnydd. Clywir sŵn cledriad awchus, gleddyfau yn bwyta cnawd dynion, a gwehyriad y march coch ar faes y frwydr yn ffrwst-gamu dros dyrfäoedd gwaed-sychedig, ac â'i garnau haiarnaidd yn sathru ei filoedd mal yr ŷch cyntefig yr dyrnu yr ŷd. Blodeu, gogoniant, a chryfder ein gwlad—ei gwyr cadarnaf sydd, ac a fyddant yn cael eu chwyrnellu yn eu sefyllfa anmharod i'r ysbrydol-fyd, tra ereill a ddarparwyd yn camu yn mlaen i lanw y bwlch, a chyfarfod â'r un tynghed cyflafanog! Pob gradd a sefyllfa ydynt yn ymdrabaeddu yn eu llygredigaeth a'u pechod—pa uchaf y radd, mwyaf y llygredd, a'r cyfan sydd yn un Babilon, fawr—yn garneld gymmysglyd blith draplith i gyd, tra mae y ddaear yn griddfan ac ochneidio o dan y baich o bechod sydd arni hi, ac wrth ystyried y rhaid ei llosgi cyn ei glanheir oddiwrth y ffieidd dra erchyll ac anghenfilaidd a gyflawnir ar ei gwyneb.

Minnau sydd mal un anhymig yn ymdroi ac ymsymmud yn nghanol y ffieidd le sydd bron a myned yn drigfa i neb ond cythreuliaid a phob aderyn aflan, yn methu gweled, teimlo, arogli, nac archwaethu dim, ond ag sydd a thuedd ynddo i lygru a dinystrio, ac i aflonyddu heddwch a lladd pob un a geisio fyw yn dduwiol yn Nghrist Iesu, myfi yn mhlith ychydig ereill. A rhan helaeth o hyn oll yn ngwlad fy ngenedigaeth

Mae fy ngofid a'm poen yma yn fwy na'm pleser, am hyny, âf y cyfle cyntaf, allan o hono hi.

III, Yn y wlad hon dyry y llywodraeth drwyddedi i werthu diodydd meddwol, a'r canlyniad yw—*meddwdod* a'i ddrygai dilynol, a gwragedd a phlant yn gwelwi gan angen ymborth—eu traed yn noethion, eu dillad yn garpiog—eu hunain yn afiwydog, ac yn syrthio i dwymnau a marw o'r achos. Gorfodir trueniaid ereill i fyned i'r tlod-dai i gael eu diwallu gan gymdeithas â braidd ddigon i gadw y corff a'r ysbryd ynghyd, mewn gwarth o herwydd tadau neu wŷr meddw, y rhai fuasant yn sobr oni buasai tafarndai trwyddedig.

Putteiu-dai trwyddedig trwy wybod i awdurdodau gwledig ydynt dduach radd fyth o'r uffernau e ddesgrifiwyd uchod. Yno, aberthir nid yn unig iechyd, synwyr, cariad a phwyll ar allor meddwdod yn gyfnewidiol am anghenfileidd-dra diefliaid a thlodi a thruenusrwydd, ond ddryllir llestri parch y Goruchaf ar greigiau tân-ddyfrol chwant brwnt a llygredig bodau hanner dynol a dieflig.—*I'w barhau.*

## DYLEDION AM LYFRAU, MEDI 31ain 1857.

| CYNADLEDD. | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Ddwyreiniol Morganwg | 156 | 18 | 5½ |
| Orllewinol „ | 123 | 18 | 0½ |
| Sir Fynwy | 61 | 18 | 2 |
| „ Frycheiniog | 10 | 10 | 9 |
| Caerdydd | 22 | 9 | 0½ |
| Llanelli | 65 | 2 | 11 |
| Caerfyrddin | 25 | 19 | 7½ |
| Sir Benfro | 10 | 11 | 0½ |
| „ Aberteifi | 18 | 1 | 3 |
| „ Feirionydd | 10 | 11 | 2½ |
| „ Fôn a Chonway | 10 | 7 | 6½ |
| „ Ddinbych | 18 | 6 | 9½ |
| „ Fflint | 13 | 5 | 4 |
| Cyfanswm, | £548 | 0 | 2 |

## GYNNWYSIAD.



ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS, ABERTAWY.

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

RHIF. 23.] TACHWEDD 7, 1857. [CYF. X.


## RHESYMAU

*Yr Henuriad John E. Jones dros ymgasglu i Seion.*

(*Parhad o tudal.* 352.)

ODDIAR feddwdod cyfyd troseddiadau o bob natur, Heddgeidwaid, Cyfreithwyr, Barnwyr, carcharu a charcharau, ac o 6 i 9 o bob 10, yn nghyd o 70,000 bob blwyddyn yn marw yn uniongyrchol neu anuniongyrchol o herwydd *meddwdod.* Heb son am y pechodau Sodomaidd sydd yn cael eu cyflawni bob dydd, yn ddigon i ddwyn barn ar ein gwlad, a'r dieuog gweithgar a sobr yn gorfod dyoddef o'r achos. A chan fy mod yn gweled a theimlo hwn yn glwy rhy farwol i'w fendio yn ngwlad fy ngenedigaeth, âf allan o honi hi, ac i'r wlad lle nad oes na thafarn-dy na meddwi'n bod.

IV. Yn y wlad hon mae uno maes wrth faes—y gwana'n gwaeddi a'r trecha'n treisio yn mhob cŵr—yr holl wlad ar gael ei meddiannu gan ychydig *statesmen—private property* yn gymhwysder senedd. Am hyny, y tlawd, faint bynnag ei wybodaeth a'i brofiad, nis gall fod byth. I wneyd ei orthrwm yn drymach fyth, gorfoda ei amgylchiadau ef i roddi ei bleidlais (*vote*) lawer pryd yn groes i'w ewyllys, ac os na wna, troir ef o'i waith, masnach, neu ffarm, ac wrth hyny neidio i gyfarfod tlodi, ac o'r ochr arall wrth wneud, yn hawlio dyn drwg, anmhrofiadol ac anwybodus, lawer pryd, i ffurfio a phasio cyfreithiau i ateb ei bwrpas ei hun, a dwyn tlodi a gorthrwm trymach o'r hanner arno ef a'i deulu. O! gaethiwed gwlad fy nhadau;

 *Pris,* 1½*g.*

hir y griddfenais am fyned allan o honi hi; canys yn waethwaeth yr â o hyd.

V. Yn y wlad hon ein gorfodir yn flynyddol i dalu at gynnal ei segurwyr bras-foliog 'hyfenant' y plwyfydd, sef yr Offeiriaid cyflogedig, o £50 hyd £70,000 yn flynyddol, sydd fel corph y farwolaeth ar gymdeithas, gan wneuthur masnach o Air Duw, a marsiandio eneidiau dynion, a'u dwyn yn gaeth i ddinystr tragywyddol. Diolch am oleuni yr Efengyl dragywyddol: trwy y cyfryw y gwelaf pwy ydwyf a pha le yr ydwyf, sef yn Babilon fawr, ac af allan o honi hi.

VI. Yn y wlad hon mae ryddid i ddyn dwyllo a fyno o'i mherched goreu, y rai a feddyliant mai dyn ydyw noddfa cryfaf eu hymddyried a'u parch, ac yntau, wedi'r cyfan yn troi y bradwr a'r gelyn mwyaf a gwaethaf sydd dan haul. Wedi i ddyn enill serch merch, ei thwyllo, bod yn dad i'w phlentyn, ac ar yr un pryd ddwy neu dair arall yr un fath, eu cymmeriad wedi ei dorri, eu perthynasau'n cefnu, gwarth yn eu hamdoi, angen a thlodi yn sylldremu yn eu gwynebau, drysau'r gweithdai yn gorfod ymagor i roi derbyniad iddynt mewn gwarth ac anmharch, eu calonau ar ddryllio gan gywilydd a gofid, eu cyfeillion wedi ymadael, eu bwyd yn sal, helbul yn cenedlu clefyd rhy drwm i'w cyrff ddal, a gorfod marw dan warth a dirmyg perthynasau a gwlad! O *pity! pity*! a'r achosydd o'r cyfan yn ddyn ffroen-uchel, rhydd, a chymmeradwy, os bydd efe wedi talu ychydig sylltau yr amser neillduol, ac, yn ol ei sefyllfa, wedi hyny, swllt a chwe cheiniog neu haner coron yr wythnos at fagu y plentyn neu y plant, y gyfraith yn ei ystyried yn ddyn *respectable*, a gwae'r neb a ddywed air wrth am hyny, pan ar yr un pryd wedi bod yn foddion i ddinystrio heddwch, cymmeriad, iechyd, a bywyd tymhorol ac ysbrydol, efallai Ac yn ei rwysg a'i rhysedd, fel march gwyllt, a'i fryd ar sathru a dinystrio heddwch a bywyd ei well wedyn, gan genhedlu plant anghyfreithlon yn faich ar gymdeithas, a'u gwisgo â gwarth eu mamau ar eu penau cyhyd ag y byddont byw, a'r tri chwarter a haner, a chwarter llofrudd—eu tad, yn ddyn rhydd yn ol y gyfraith.

Cospir dynes dlawd â thri mis o galed-waith, os yn ei hangen y dug eyn lleied a deg pwys o lo oddiar gwmpeini cryf a chyfoethog; am ddal cwningen, neu ladratta dafad, heb fod

werth mwy na saith swllt. â chaeth wasanaeth *(ponal servitude)* am ysbaid o amser.

Er hyn oll mae dyn at ei ryddid i butteinio faint a fyno, a gwastraffu wrth hyny gymmaint a gynnaliai tair neu bedair o wragedd a'u plant, a'i ollwng yn rhydd i ddinystrio cyrff ac ysbrydoedd merched goreu ein gwlad, cymmeriad, diweirdeb, a bywyd y rhai sydd yn fwy ei werth na'r holl lo, cwningod a defaid sydd yn y byd.

Am ladratta dafad ceir alltudiaeth; am amddifadu merch o'i chysur, ei hamgylchiadau, ei diweirdeb a'i bywyd, ceir bod yn rhydd am ychydig sylltau. Putteinied dyn â mil, os myn, gan gyflawnu pob drwg a phechod yn un chwant, yr hyn sydd yn ddigon i dynu pla a barn ar y byd, caiff gyfraith i'w gefnogi; eithr pe sonid am un dyn yn priodi dwy wraig, gan eu cadw ar ei enw, a'u cynnal yn gysurus, a dysgu eu plant yn ol cyfraith ac ewyllys yr Arglwydd, 'O, bechod ofnadwy! meddwl am y fath beth mewn gwlad Gristianogol!' ebe hen arch-butteinwyr crefyddol ein hoes. O! anghyfartalwch cospedigaethau a ffieidd-dra Sodomaidd gwlad fy ngenedigaeth! Pa hyd etto caf boeni fy enaid o'th fewn? O! am i mi gael myned allan o honi hi.

VII. Af allan o'r wlad hon am fod Seion yn well—yno cyferchir fi fel cyfaill a brawd, ac y perchir fi fel cymdeithaswr; yno y caf dir am braidd y peth nesaf i ddim, a hwnw yn dir bras, yn cynnyrchu pob math o ffrwythau iachus. Yno mae awyr iach a dihaint—gwlad rhydd oddiwrth glefydau a hen bechodau ffiaidd Babilon ddrewllyd; dwfr iachus, a ryddid i bysgota o hono; cyflog yn werth ei lafur, pob dyn yn byw ar ffrwyth ei lafur ef ei hun yn llawen; dim trethi trymion i gynnal segurwyr—pob un galluog i lafurio am ei fwyd: adeiladu a phlanu, a phob un yn byw dan ei winwydden a'i ffigysbren ei hun; O, na bawn yno!

VIII. Af i Seion, o herwydd yno caf gylwed Apostolion, Prophwydi, &c , yn dysgu a gweinyddu ordinhadau yr Efengyl. yn priodi, golchi, enneinio, a bedyddio dros y meirw. Yno cawn weinidogaeth angylion, a'n selio i fyny i fywydau tragywyddol—y gallwn fyw wrth gyfreithiau nefol, dwyn i fyny ac hyfforddi plant yn gyfreithlon ac yn ol ewyllys y nef, a bod yn blant o ffydd a gweithredoedd ein Tad Abraham, a'i fendithion

a sydd yn addawedig i'w holl efelychwyr yn llanw ein tir.

IX. Af yno, am fod cyfiawnder yno yn ymgartrefu, a gweision Duw i'm llywodraethu, yn dymhorol ac ysbrydol—af yna am fod Crist yn dyfod i'w Seion EF a phläau yn dyfod ar Babilon, a Duw yn dweyd, Deuwch allan o honi hi.

Wedi llwyr flino ar Babilon a'r darluniad o honi, teimlwyf i gydganu a J. R., (hymn 482.) :—

> Yr ydwyf wedi blino'n llwyr
> Ar Babel fawr ddiras;
> Fy ngweddi sydd, fy Nuw a ŵyr,
> Am fyn'd o honi maes:
> Rraidd na wnaf geisio gan fy Nhad,
> Moes im' ddwy aden fawr,
> Fel yr ehedwyf tua'm gwlad,
> I Seion fad yn awr.

Gan hyderu fod y resymau uchod yn ddigonol i Olygydd a darllenwyr parchus yr UDGORN, terfynaf.

Yr eiddoch, o galon.

JOHN E. JONES

---

## DYSGEIDIAETH YR APOSTOL ORSON HYDE,

*(Tabernacl, Dinas Llyn Halen Mawr, Mawrth 8, 1857.)*

---

TRA yn eistedd yma ac yn myfyrio ar ein cyflwr, y boreu hwn, daeth i'm meddwl, yn rymus neillduol, eiriau ein Hiachawdwr a ddywedant, 'Ymegniwch i fyned i mewn trwy y porth cyfyng; canys dywedwyf wrthych yr ymgais llawer fyned i mewn ac ni fedrant.'

Y geiriau hyn, yn ac o honynt eu hunain, ni allant fethu deffro ag alarmu pob meddwl myfyrgar—yr ymgais llawer fyned i mewn, eithr na fedrant! Ai dyna dy sefyllfa a'th gyflwr di? Atebed pob un y gofyniad. Y mae megis trystiau deffroawl taranau Mynydd Siniai. Y mae yn bregeth o hono ei hun—yn gyfrol. Dylai wasanaethu i ni fel y floedd rhybuddiol i fod i fyny ac wrthi, ac i geisio yn y ffordd iawn am fyned i mewn.

Pe chwiliem am drysor colledig mewn llefydd lle na fyddai, gallem chwilio mor fanwl, a mwy felly, na'r person a chwiliodd yn y lle yr oedd ac a'i cafodd. Mor angenrheidiol, ynte, fod

gwirionedd a doethineb yn tywys ein camrau! At y pwnc yma y dymunaf alw eich sylw heddyw.

Cawsom dymhor da yn ystod y gauaf diweddaf, a chyfleustra gwerthfawr i wella ein meddyliau, ac i enill gwybodaeth ac hysbysiaeth, yn ddarpariadol i'n hymgymmeriad o'r cyfritoldeb hwnw, ac i weithredu y ran fawr hono yn actyddiaeth fawr teyrnas dragywyddol Duw, ag y mae ein proffes, ein swydd, a'n galwedigaeth yn gofyn ýn bendant oddiar ein dwylaw. Eithr pe buasai y tymhor wedi bod yn agored ac yn hynawsaidd, megis ag y mae weithiau yn y wlad hon, gallasem, feallai, drwy fawr awydd am bentyru cysuron o'n hamgylch, fod wedi cael ein harwain ymaith gan ein helwau bydol i fawr esgeulusdod o'r 'un peth angenrheidiol.' Os, gan hyny, ydyw Rhagluniaeth orlywyddol yn drugarog wedi gosod rhwystr ar ein gorchwylion tymhorol, gan ystormydd afresynol gauaf hir ac oerllyd, a thywallt allan ei Lân Ysbryd arnom, i'n deffro i ddiwygiad, mae genym reswm dyblyg i gydnabod ei law Ef, ac i'w foli byth am y bwriadau da a thirion a ddangosodd tuag attom.

Gwedda i ni yn awr, yn yr amser hwn o lwyddiant, tra mae Seion yn llewyrchu dan wên gwyneb ei Duw, i osod heibio sylfaen dda yn ystôr gyferbyn a'r amser i ddyfod. I'r Saint ffyddlon ni waeth pa un ai hinawsaidd a llonydd neu dymhestlog a llym y byddo y tymhorau. Os iawn weithredwn cawn ddigon o reswm i ddweyd,Cywir a chyfiawn yw dy weithredoedd, Tydi Frenhin Seintiau.'

Addysgwyd chwi, frodyr a chwiorydd, cyn fy nyfodiad i o Carson, (yr hyn oedd ar y 9fed o Rhagfyr diweddaf,) i ddeffroi o'ch cysgadrwydd—i edifarhau am eich pechodau, ac yna i roi iawn i'r dyoddefyddion am y cam y gallasech fod wedi ei wneyd iddynt.

Yn nesaf addysgwyd chwi mewn athrawiaeth ac egwyddor—ceryddwyd, rhybuddiwyd, cysurwyd a thywyswyd chwi yn y llwybr yn yr hwn y gallech geisio, a hyny ddim yn ofer.

Mae gwirioneddau braidd o bob cymmeriad a ryw wedi cael eu mynegu a'u delio allan i chwi gyda llaw haelionus. Dydd ar ol dydd, a nos ar ol nos, y clywid llais ysbrydoliaeth yn eich mysg. Gwirioneddau cymhwysedig at braidd pob cymmeriad, sefyllfa, a chyflwr mewn bywyd, ydynt wedi cael eu ffyddlawn

bortreadu i chwi mewn llythyrenau o oleuni bywiol, ac mewn geiriau ô'r hyawdledd mwyaf tanllyd ac enaid gynhyrfiol' hyd yn nod y cyfryw a ysbrydolodd yr Ysbryd Glan; o'r syml i'r mawreddog; ac o dôn y delyn i lais y daran,

A gyflawnasoch chwi y gorchwyl a roddwyd i chwi? A gyflawnasoch chwi y gwaith a chadw fyny gyda eich haddysgiadau? Neu a ymfwynhasoch chwi mewn dymuniad i gael rhyw beth newydd—rhyw beth pell gyrhaeddiadol yr hwn ni eill gael effaith amgen nag i ddenu eich meddyliau oddiwrth y gwirioneddau a deilwng ofynant eich sylw diduedd a'ch cadwraeth. Dygwydd weithiau fod ysgolhaig yn yr ysgol, mewn awydd i gynnyddu, yn cymmeryd gwers heddyw mewn un gangen o gelfyddyd, ac y fory mewn un arall, a'r trydydd ddydd mewn un arall, ac felly yn y blaen, hyd onid, yn ei olwg ei ei hun, y del allan yn astudiwr boneddigaidd a champus, yn broffeswr ac yn athronydd; tra, mewn gwirionedd, nid yw yn deall unpeth a ddarllenodd, ac yn ddim ond meithrin twyll a ddefnyddiodd arno ef ei hun.

Ai dyma fel y mae gyda ni? A ddysgasom ni yn drwyadl y gwersi a roddwyd i ni, a'u hymarferyd? Nid oes unpeth yn well i argraffu ar y meddwl unrhyw ddysg neu gelfyddyd nag i'w hymarferyd—gweithredu yn wirioneddol arni. Yna canfyddwn ei grym a'i hysgogiad; a thra yn ymwneyd a'r rhan weithredol, gwna argraff ar ein meddyliau na ddileir ac na anghofir, â'r egwyddorion ag ydym wedi goleddu.

Os ydym wedi ymarferyd ar y gwersi a'r addysgiadau a gawsom, gwyddom y safant wrthym; eithr os ydym wedi ddim ond eu clywed, ac heb ymwneyd â'r rhan weithredol o honynt, hwy a fyddant farw yn ein coffadwriaeth, gan y byddant heb gael eu lleoli yn ein corffoliaeth, a deuwn gyffelyb i'r dyn yn syllu ar ei wyneb naturiol mewn drych, ac yn myned yn syth ymaith gan anghofio pa fath ddyn ydyw.

Gallwn egluro i chwi y cyfan yn nghylch y gelfyddyd o argraffu; etto, gyda yr holl wybodaeth y gallai fy eglurhad gyflwyno i chwi yn nghylch y gelfyddyd bwysig hon, pa un o honoch chwi, yr hwn nid yw yn gyssodydd, a eill gymmeryd fy mhregeth i a myned i swyddfa a'i gosod i fyny? 'Ymarferiad wna'n berffaith.' Os dysgwn egwyddorion cyfiawn a'u hymarferyd, mae ganddynt allu i gyfnewid ein natur yn

gydweddol a'u hunain. Deuant yn rhan a chyfan o honom ein hunain, a dygant ni i gyssylltiad a hwynt na ŵyr ymraniad. Oddiyma deuwn yn bobl cyfiawn, ac os parhawn, gwnawn nid yn unig ymegnio, eithr medru myned i mewn.

Geill pob un o honoch weithredu ar rhai pethau yn eich mabandod. Maent mor ffrès yn eich meddyliau yn awr ag oeddynt yn y dydd y gweithredasoch arnynt. Gan hyny gweithredwn bob amser ar egwyddorion gwir a chywir, a hwy drigant gyda ni, a nyni a ddeuwn yn gyfiawn yn ein natur; ac os na weithredwn byth ar egwyddor ddrwg, nyni a anghofiwn yr holl ddrwg a wyddem erioed am dano, a Duw a'i anghofia hefyd, ac ni ogwydda ein natur byth at ddrwg.

Os ydym ni wedi dwyn i weithrediad yr holl addysgiadau a'r hyfforddiadau a roddwyd i ni o'r esgynlawr hwn a llefydd eraill, yr ydym yn bobl bendithiedig a dedwydd. Os nad ydym, ni wnaethom gyfiawnder â'n hunain. Anrhydeddwn yr addysgiadau a gawsom, ac yna nyni a gawn ddigon o dir i'w ddal heb unpeth yn bell gyrhaeddedig neu yn ddrud brynedig.

Yr ydym yn gynnulleidfa o Saint y Dyddiau Diweddaf, (yn cael ein galw) wedi ymgynnull er cael clywed geiriau y bywyd, neu adeiladaeth yn nghylch teyrnas Dduw. Cyfyd y gofyniad yn fy meddwl—A ydym ni oll yn Seintiau y Goruchaf Dduw? Neu, a ydym ni yn gynnwysedig o'r bobl a gariant yr enw hwnw pan, yn wir, na fyddom oll yn ei haeddu?

Dangosaf i chwi gyffelybiaeth i ddarlunio fy meddylrych; canys dymunwyf wneyd yn eglur i'ch dealltwriaeth feddyliau fy ngalon i fy hun, ac os gallaf eu trosglwyddo i chwi felly bodolant yn fy mynwes, fel y gweithredont ar eich meddyliau chwi yr unrhyw modd ag y gwnant ar fy eiddo i.—

Y mae yn awr yn amser hau. Mae ein ffarmwyr yn hau yn y gogledd a'r dehau:—mater o foddlonrwydd mawr i mi. Ac yma caniatewch i mi fynegu dymuniad, mai tra yr hauont mewn ffydd y caffont fedi gyda llawenydd! Maes o law pan y tyf y gwenith hwn i fyny, gallwch ei weled yn ysgogi gyda yr awel, a chwi a ddywedwch, Dyna faes ardderchog o wenith. Y mae yn hardd, iachus, ac yn addaw cynhauaf helaeth. Addfeda yn raddol yn mhelydrau poeth yr haul, ac wele y maes yn felynwyn, ac yn barod i'w fedi. Galwch ef oll yn wenith.

Yn awr y gofyniad ydyw: Ai gwenith ydyw i gyd? Onid gwellt yw y ran fwyaf o hono? Er eich bod yn ei alw i gyd yn wenith, hyd yn nod megis y galwch y gynnulleidfa hon oll yn Saint, oni ddichon i ran o gynnyrch y maes hwnw fod yn ûs hefyd? Dichon, yn sicr! Drachefn, ynte, oni ddichon fod cryn lawer o rŵd yn y peth a alwch yn wenith? Oes, a llawer cnewullyn diffrwyth na ddyry flawd, eithr a chwythir ymaith! Mewn corffolaeth galwch ef oll yn wenith; etto deuwch at ei ddatodol brofi a ranu ei wahanol gynnwysiadau a'i rinweddau, cewch, oddiwrth faintoli tyfiant y maes hwnw a alwasoch yn wenith, ddim ond rhan fychan ag sydd yn wir, rhinweddol wenith. Yna wedi y rhenir y ferien lawn oddiwrth y gwellt, ûs ,rhŵd, &c.' erys ûs o natur burach a alwch yn fràn. Yna y mâc gwahanol fathau o flawd. No. 1, neu orwych, No. 2 a 3, neu *shorts*. Eithr bychan yw y gyfran sydd allan o gynnyrch y maes hwnw yn wir addas i fwrdd y meistr.

Yn awr, ynte, dyma beth a ddymunaf i chwi ystyried, yr hyn ydyw hyn: mae yr ûs, y gwellt, &c., a gynnyrchwyd yn y maes hwnw yn tynu eu maeth o'r unrhyw ffynonell ag y mae y ferien—o frasder a gwlybedd y pridd! Ymborthant oll ar yr unrhyw ymborth! Nid yn unig felly, eithr canfyddwn mai wrth rhwymynau a mân edafau mae yr ûs, y gwellt, a'r ferien oll yn nghysswllt; ac mewn golwg o gyffelyb egwyddor, dywed ein Hiachawdwr, 'Na ddadwreiddiwch yr efrau hyd amser y cynhauaf, rhag, wrthddadwreiddio yr efrau, y dadwreiddioch y gwenith hefyd.'

(*Parhad ar tud.* 364.)

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, TACHWEDD 7, 1857.

**Hwyliodd** y Llywyddion Pratt a Benson, yn nghyd a'r Henuriaid John A. Ray, John Scott, John Kaye, a William Miller, o Llynlleifiad, Hydref 14eg, ar fwrdd y *Baltic*, am Gaerefrog Newydd, ar eu ffordd i'w cartrefau yn Utah.

Hynodweddwyd cenadiaeth y Llywydd Pratt gan ei ymdrech i lwyr rhybuddio y Brytaniaid trwy ei draethodau, ac eiddo y Llywydd Benson yr un modd trwy ei amrywiol ardystiadau. Heblaw hyn, cafodd yr Eglwys feithriniaeth, nerth, a chynnyddiant anmhrisiadwy dan eu gweinidogaeth effeithiol.

Y Milwyr ag Utah.—Annoga y Llywydd S. W. Richards y Saint i beidio a blino eu meddyliau gan y peth yma ; eithr yn hytrach i orfoleddu a dyblu eu diwydrwydd a'u hymddiried yn Nuw, fel y caffont weled ei Iachawdwriaeth Ef.

Apwyntiadau.—Mae y Llywydd S. W. Richards wedi apwyntio yr Henuriaid George G. Snyder a John L. Smith i deithio o dan ei gyfarwyddyd ef, a chyfrinachu gyda Bugeiliaid a Llywyddion Cynnadleddau ar faterion perthynol i'w gwahanol alwadau a dyledswyddau, ac i gyflwyno y cyfryw hyfforddiant a ystyrir yn angenrheidiol.

Cyfanswm Newyddion y dydd ydynt, fel arferol, gydag ychydig eithriadau i'r ochr waethaf, yn cynnwys amrywiol lofruddiaethau, putteiniaeth, gorweddiad Offeiriad gyda ei *footman*, lladrad, trais, gormes, tlodion wedi marw o newyn wrth fegian am gael derbyniad i'r gweithdai, baban leiddiaeth, rhyfel, haint, a llu o ddrygau a barnau, a'r cyfan ar gynnydd o hyd. Mewn gair mae y byd yn myned i uffern ar garlam.

## ANERCHIAD YMADAWOL YR APOSTOL EZRA T. BENSON.

At y Saint gwasgaredig trwy y Genadiaeth Ewropaidd yn anerch.

Anwyl Frodyr a Chwiorydd,—Yn chwyldroadau dirgelaidd rhagluniaeth Duw, gan yr hon y symudir pob peth yn ol ei bleser a'i amcanion ef, mae fy llafuriadau yn y gwledydd hyn wedi cael eu dwyn i derfyn.

Cyfeiria hanes yr Eglwys, arwyddion yr amserau, a'n profiad personol ein hunnin, yn amlwg at un ffaith—fod Duw yn torr-

yn fŷr ei waith mewn cyfiawnder, ac yn treiglo yn mlaen ei ddybenion dyeithr gyda chyflymdra cynnyddol. Mae Efe wedi cyfodi yn ei allu, a gosod am dano ei nerth megis ag yn y dyddiau gynt. Y cenedloedd ydynt yn cael eu symud i gyflawniad o ddybenion y Jehovah. Yn anystyriol y maent yn gwireddu geiriau y Prophwydi, ac yn cyflym lanw i fynu dynghed y byd. Mae Duw ein Tadau yn cofio ei gyfammodau i'w bobl Israel. Ysbryd yr Arglwydd sydd yn gweithredu ar eu calonau—ei allu sydd yn bywiogi eu heneidiau. Ymddyriedant ynddo Ef gyda mawr ffydd, a'r llais dystaw main sydd yn sibrwd wrthynt, na cha Jacob welwi, na phlant Seion gywilyddio. Bwriadau y drygionus, yn ogystal a gweithredoedd y cyfiawnion, ydynt yn tueddu i'r un perwyl—sefydliad teyrnas y dyddiau diweddaf, a dadenhuddiad ei gogoniant.

Yr ydwyf, anwyl Saint, oddeutu dychwelyd i'm cartref fynyddig. Eithr cyn y gadawyf y gwledydd hyn, teimlwyf dueddiad i eich hannerch ag ychydig eiriau o gysur a chynghor, yn ogystal hefyd ag i gyflwyno i chwi fy nghydnabyddiaethau diolchgar am eich amrywiol ymddygiadau caruaidd tuag ataf, megis gwas yr Arglwydd Iesu. Mae yr ymddygiadau hyn yn gerfiedig ar fy nghalon. Byddant i'm coffawdwriaeth yn felusach na mel, ac a orphwysir arnynt megis amlygiadau gwerthfawr o gariad a ffydd y Saint yn Ewrop at achos Duw a'i weision Ef. Ni anghofiaf chwi, a'n Tad yn y nef hefyd a geidw eich gweithredoedd ar gof. Bendithiwyf chwi yn enw yr Arglwydd; a chwi a fendithir, os parhewch i wneud yn dda.

Na fyddwch drist, anwyl frodyr a chwiorydd, na gadael i'ch ffydd ysgogi. Os casgl gwmwl am ennyd, sicrhäer chwi fod Duw tu cefn i bob gwg o eiddo Rhagluniaeth, yn celu i chwi "wyneb gwenog." Nid oes cwmwl yn eich mynedol mor dew ar nad â heibio yn fuan, a dadguddio i chwi haul dysglaeriach.

Er, am yr amser presenol, fod yr ymfudiad wedi cael ei gau, na feddyliwch fod eich gwaredigaeth yn mhell, na dychymygu fod Duw wedi anghofio casgliad ei Saint. Mewn eiliad, ysgatfydd, efe a agor y drws etto, ac arwain ei bobl Seion gyda braich estynedig a gallu, o'r fath ag nad ydyw cyn hyn wedi amlygu ar eu rhan. Dygwydd y ceir na wneir braidd doriad yn nghadwyn fawr yr ymgasgliad. Mewn unrhyw achlysur, gwybyddwch fod pob peth yn iawn! Nac ofnwch;

na chysgwch; eithr byddwch galonog ac effro, O Israel, ac edrychwch ar iachawdwriaeth eich Duw!

Cadwed pob cangen o'r Eglwys ei chorfforiad yn gryno, a'i haelodau yn llawn o ffydd. Bydded pawb yn ddiwyd; nac attaliwch eich llafuriau, na syrthio i drwm-gwsg. Ewch yn mlaen megis cynt, a bydded eich llwybr yn ddidòr. Cynnyddwch ac na leihäwch. Amlhewch eich gweithredoedd, ychwanegwch at eich ffydd, casglwch egni a phenderfyniad a lnewyddolsementiwch eich hundeb, a gwrteithiwch gyfran ddyblyg o ddoethineb a phwyll Pan yr egyr Duw y ffordd etto er eich gwaredigaeth, frodyr, *byddwch chwi barod.* Yn eich cysylltiad a'r byd na ddychwelwch sèn am sèn, eithr ceisiwch i orchfygu trwy gariad a chymmwynasgarwch, a gochelwch gynhyrfu teimladau neb. Na fyddwch ymosodwyr, ond gweithredwch yn amddiffyniadol. Os erlidir chwi, bydded er mwyn cyfiawnder, ac nid canlyniad o ymddygiad annoeth ar eich rhan chwi.

Ni lwydda un arf a ffurfir yn erbyn Seion, na dyfais yn erbyn pobl Duw. Teimlwyf i fendithio holl Israel. Pawb a'u bendithiant a fendithir, a'r rhai hynny a brophwydant yn dda am bobl Duw a gant dda wedi ei amlhau arnynt, ac ni phalla ysbryd eu geiriau. Eithr yr hwn a brophwydo ddrwg yn erbyn Israel a gaiff fod yn mysg gau brophwydi; a'r rhai a gyfodant yn erbyn gwaith ein Duw a gant wywo, a'u dylanwad ddiflanu. Y rhai a ymladdant yn erbyn Seion a gant fod megis breuddwyd gweledigaeth nos. Bydd hyd yn nod megis pan y breuddwydio dyn newynog, ac wele efe yn bwyta; eithr deffroa, ac wele ei enaid yn wag; neu megis pan y breuddwydio dyn sychedig, ac wele efe yn yfed; eithr deffeöa, ac wele tef yn llewygus. Yn enw yr Arglwydd Iesu Grist, melldithiwyf, r wy allu yr Offeiriadaeth santaidd, pob cymdeithas, symudiad, aelod, ac arweinydd, trwy y byd, a dyweded holl Israel, Amen.

Cyn gadael y wlad hon, teimlwyf unwaith yn rhagor i ddal fy nhystiolaeth, trwy gyfrwng y *Star*, i'r Saint Prydeinig, ac i bawb a ddarllenant hyn yma. *Gwn* fod Duw etto wedi sefydlu ei deyrnas ar y ddaear, ac na ddadymchwelir hi byth, eithr yn y diwedd caiff ddal rheolaeth gyffredinol, a Iesu a deyrnasa yn Frenin arni yn dragywydd. *Gwn* i Joseph Smith gael ei alw gan Dduw i sefydlu y deyrnas hono, ac iddo gyflawni y

gwaith a roddwyd iddo—hyd yn nod adferiad pob peth; ac iddo drosglwyddo i'r Eglwys yr allweddau a'r galln i barhau yr hyn a ddechreuodd efe. Yr oedd efe yn un o'r mwyaf o Brophwydi' ac fe fu farw yn ferthyr santaidd yr Iesu, gen selio ei dystiolaeth a'i waed. *Gwn* mai Brigham Young yw ei olynydd, ac ei fod ef yn ddyn Duw, ac yn Weledydd a Dadguddiedydd i Eglwys Crist. *Gwn* mai amcan yr awdurdodau cyffredin [yr Eglwys] ydyw gogoniant Duw ac achubiaeth dyn. Yn olaf, *gwn* na eill yr un na dderbynio y gwaith hwn gael ei achnb yn y deyrnas nefol, a gochelyd condemniad yr Arglwydd, Barnwr pawb. Yn nydd y farn fe gofir y dystiolaeth hon, i aflonyddwch y rhai a'i gwrthodant.

Terfynaf y cyfrinach hwn yn awr wrth ofyn rhan ddyddorol yn eich ffydd a'ch gweddiau, a thrwy ddeisyf amlhad o fendithion dewisaf y nef i chwi.

Ydwyf, eich gwas a'ch brawd yn Nghrist,

EZRA T. BENSON.

---

## DYSGEIDIAETH YR APOSTOL ORSON HYDE

Parhad o tudal. 360.

MAE yn angenrheidiol i'r gwellt fodoli er cynnal y gwenith, yr ûs i amddiffyn y ferïen, wrth wasanaethu megis còt uchaf a tharian rhag aml ac amrywiol ddylanwadau y tywydd—rhag pryfed, ac i'w gadw yn gynes. Mae yr un maeth ag sydd yn cynnal y ferïen, ac yn ei chadw yn fyw, hefyd yn cynnal a chadw yn fyw yr ûs fel ei chlôg neu ei mantell. Nid oes aderyn-to a eheda yn yr awyr ar nad yw yn cyfranogi o ddaioni ein Duw ni. Gesyd Efe ei haul i godi ar y drygionus a'r daionus, ac enfyn wlaw ar y cyfiawn a'r anghyfiawn.

Cynnelir yr holl lwythau o ddynion, yr heidiau pryfed, y torfeydd anifeiliaid, a'r fflociau myrddiynau asgellog a ehedant uwch ein penau, gan yr un law haelionus o eiddo ein Tad Nefol. Lluniaetha ei Ragluniaeth Ef dros yr holl, hyd yn nod y blaidd a'r gledr-sarff wenwynig.

Yn awr, yn nghanol hyn oll pwy yn ein plith sydd barod i ddweyd pa un a'i gwellt, ûs, rŵd-wenith, a'i gwenith ydym?

Bràn, ail flawd, a'i goreu-flawd? Llawer a ymgeisiant fyne i mewn, eithr ni fedrant!

Dichon y medraf, cyn y terfynaf fy sylwadau, i roddi i chwi ryw allwedd i'r pwnc yma, yr hwn, os na alluoga chwi yn gyflawn i benderfynu, a ddichon, o leiaf, eich cryn gynnorthwyo yn eich casgliadau mewn perthynas i'ch hunain. Eithr am yr un peth hwn gorphwyswch yn berffaith sicr; bod y ffordd i ywyd yn gymmwys ac yn o gul. Y gwellt a'r us ydynt yn tyfu i fyny, ac yn ymdrechu myned i mewn i'r ysgubor; eithr o'r braidd y medrant.

Fel y disgwyliwyf oddiamgylch ar y gynnulleidfa hon, ac fel y cymmysgwyf gyda y Saint yn ddiwahan, darganfyddwyf fod gwahanol ysbrydion. Medd pob corfforiaeth ysbryd neillduol i'w hunan. Ni ddywedwyf fod un tynghedolrwydd yn hyn. Na ddealler fy mod yn cyflwyno y meddylrych yna. Eithr dyweyd wyf hyn, y gall pob ysbryd cyssylltiedig â chorfforiad daearol gael ei dymheru gan Ysbryd Duw yn ol ei ffyddlondeb, dealltwriaeth, a'i ffydd, fel nad oes esgus. Os cyfeiriaf chwi at y ceffyl, cewch fod ysbryd neillduol yn cyd fydoli a chorfforiad yr anifail hwnw. Pan y mae yn wych, ac mewn cyflwr da, mae rhywbeth yn fawreddog a rhwysgfawr o'i ddeutu.

Pan welom y golomen hardd yn ehedeg trwy yr awyr, achosir teimlad dymunol ynom gan ei symudiadau prydferth, o herwydd fe anfonwyd yr Ysbryd Glân unwaith yn y ffurf hono. Etto edrychwn ar y sarff, ac achosir teimlad arall—ofn—haeth—dychryn. Fel y mae gan bob creadur, anifail ac aderyn, dyn, a benyw, ysbryd fydd yn neilduol i'w gorfforiad ei hun; ac nid oes un corfforiad yn hollol anymddibynol o Ysbryd Duw; canys medd pob un rhyw ddealltwriaeth. Pe cyffelyb fyddai yr holl ysbrydion a'r tymherau, gwasanaethai yr un hyfforddiadau i'r oll. Eithr fel y mae, rhaid i bob dyn dderbyn ei gyfran ef o fwyd yn yr iawn dymhor. Ac mae'n rhaid rhanu y gair—rhoddi ei rhan ag sydd gymhwysedig i'w gorfforiad a'i dymher, fel ei achuber wrth hyny.

Mae dyn yn gynnwysedig o ddefnydd ac ysbryd; ac Ysbryd Duw sydd yn gweithredu aa ac yn tymherucorfforiad dyn yn ol ei ffydd a'i weithredoedd da. Mae rhai yn o uchel dymheaog.

Dyg y cyfrai nid yn unig fîn llŷm, eithr maent dderbyniadwy i lowwad uchel. Eraill ydynt o isel dymher, o herwydd tued-fryd a chymmeriad isel, marwaidd, a musgrell ag ydŷnt wedi ymfwynhau, ac o ganlyniad ffurfio. Nid ydynt yn offeryn llyfn nac yn torri yn lân. Nid ydynt wedi treio gwrteithio eu tymher wrth geisio ac hoffi Ysbryd Duw fel y dylent.

Etto, dichon na fyddai y rhai hyn yn euog o un pechod toriadol âllan. Cadwant o fewn cyffiniau y gyfraith—talant eu degwm, ac ymgadwant yn mlaen; ac ystyrir hwynt yn ddinasyddion da, heddychol, ac anrhydeddus. Cashant ladratta—boddlon ydynt i weithio, a dilyn llwybr cysson ac uniongyrchol Etto ni allwn ddisgwyl arnynt megis wedi cael eu tymheru gan yr Ysbryd Glân hyd eithafedd eu braint, Etto gweithredant gyfiawnder cyn belled ag y gweithrednnt o gwbl. Y personaul hyn ydynt hoff o fyned i'r cyfarfodydd, ac a glywir yn am yn dywedyd, Y fath bregeth dda a gawsom!

Mae hyn oll yn iawn, os cawsoch bregeth dda. Gofynant i chwi fil ac un o ofyniadau er tynu allan rhywbeth i foddloni eu dymuniad taer am wybodaeth a dealltwriaeth, heb braidd gofio eu braint o ofyn gan Dduw a derbyn iddynt eu hunain. Eithr nid oes un trosedd yn hyn; etto, braidd y gall un ymgadw rhag meddwl, pan y gwelo ei gymmydog yn begian a benthyca bara, pa faint mwy canmoladwy fyddai ynddo i gymhwyso ei hun at lafur, a chynnyrchu trwy hyny fara o'r pridd trwy ei lafur ei hun.

Ac yn gymmaint fod ein Tad Nefol yn gyrhaeddadwy i bawb, y mae yn llawer gwell i ystorio ein meddyliau â'r trysorau o ddoethineb a gwybodaeth, wrth ein llafuriau ysbrydol a'n hegni e'n hunain, yn uniongyrchol oddiwrth y ffynonell fawr o oleuni a chariad nefolaidd, nac i hollol ymddiried i dystiolaeth ac addysg eraill.

Mynwch dystiolaeth yr Iesu, yr hon yw Ysbryd y brphwydoliaeth. Na tharddwch wrth y meddylrych o brophwydoliaeth a phrophwydi; canys dymunwn ar Dduw fod pob un o bobl yr Arglwydd yn brophwydi. Nid oes Cristion proffesedig yn y byd ag nad yw yn meddu Ysbryd y brophwydoliaeth, a eill ddweyd pa un a ydyw efe yn wenith, gwellt, us, rŵd wenith neu efrau. Ac ni all un person gael ysbryd y brophwydoliaeth a ddywed fod dyddiau prophwydi wedi myned heibio, ac yn

ddianghenrhaid yn awr, oddieithr y rhoddid yr ysbryd hwnw i selio condemniad ar y penboethyn cyfyng-farnol, na wna ei gyfaddef, a rhoddi i Dduw y gogoniant, wedi y gallo fod wedi syrthio arno: canys gwell ganddo glod dynion na chanmoliaeth Duw.

Yr haul, y lloer, a'r ser ydynt arddangosiadau o gartrefau terfynol y meirw a aethant, os nad eu pennodol gartrefau. Yr haul sydd yn cael y gair o fod yn llewyrchu wrth ei oleuni ei hun,ag sydd anghydlynol ynddo ei hun. Gallwn beidio caniatau bod hynfelly, o dan rhai amgylchiadau, eithr etyb y peth pobl-ogaidd fy nyben yma. Llewyrcha y lleuad a'r ser wrth oleuni benthyciol. Y ser neu y planedau hyn ydynt yn amrywio yn eu maintioli, ysgogiad, pellder oddiwrth y ddaear ac eithafoedd gwres, oerfel, &c. Geill fod rhai o honynt yn cylch-droi mewn dydd tragywydd, tra ereill yn ymdreiglo mewn nos diddiwedd ac etto eraill, fel ein daear ni, a allant fod yn cael dydd a nos yn mhob yn ail.

Yma mae cartrefau i bob graddau o ysbrydion ; o'r ffyddlawn ferthyr dros deyrnas ac efengyl Crist, gogoniant yr hon a arddangosir gan yr haul yn y ffurfafen, hyd yr efryn drwg a anfonir i dywyllwch eithaf, ar ryw blaned dynghedol i ymdreiglo mewn nos diddiwedd. 'Yn nhy fy Nhad mai trigfanau lawer. 'Y mae un gogoniant yr haul, gogoniant arall y lloer, a gogon-iant arall y ser.' Gwahaniaetha ein seren ni oddiwrth seren arall mewn gogoniant ; felly hefyd y mae adgyfodiad y meirw.

Plant y byd hwn a garant dywyllwch yn hytrach na goleuni a gant eu hunain yn y diwedd yn drigolion y planedau hyny a symudant mewn tywyllwch eithaf; gan feddu cartref gymhwysedig i'w tueddfryd a'u cymmeriad.

Yr Apostolion a'r Prophwydi ysbrydoledig, yn nghyd a merthyron yr Iesu a'r holl rai pur a santeiddiedig a etifeddant ogoniant fel yr haul, tra y caiff y proffeswr rhagrithiol, y celwyddwr, y godinebwr, y tyngwr halogedig, gyda yr holl rai a ddaliant wrth grefydd heb brophwydi ac Apostolion—heb ysbrydoliaeth a gwyrthiau—heb ddatguddiad, prophwydoliaeth, allweddau a gallu i rwymo ar y Ddaear ac yn y Nef, wedi y gwneir yr alwad arnynt gan genhadwr y wir grefydd, eu damnio, a'u hanfon ymaith i dywyllwch eithaf, hyd yn nod i garchar, le y cnoant eu tafodau gan boen.—*I'w Barhau.*

## AMRYWIAETHAU, &c,

Y GAIR DOETHINEB.—Dymunwn ddweyd wrth ein brodyr a'n chwiorydd nad yw y Gair Doethineb yn llai ei bwys yn awr, nag ydoedd er's ychydig fisoedd yn ol. Nid ydym wedi bwriadu yr ychydig *oddefiadau* a wnaed yma a thraw, i fod yn gyfraith gyffredinol i bawb ; eithr hyderwn fod y cyffredinolrwydd o'r Saint wedi deall bellach, mai i'r dyben o gael ei *gadw* y datguddiwyd y Gair Doethineb.

DYCHWELYD LLYFRAU.—Dymunwn ymdrech oreu ein dosparthwyr cymmwynyasgar i'n diwallu a'r rhifynau canlynol o'r gyfrol bresenol o'r Udgorn :—9 o rifyn **20**, a 3 o'r **21**. Hefyd, o gyfrol IX, 47 o rifyn **8**, 28 o'r **9**, 1 o'r **24**, ac 1 o'r **25**, Gwnewch eich goreu frodyr.

YR AMSERAU.—Amlwg i bawb a ddarllenant y newyddiaduron fod digwyddiadau dinystriol a: anffodus yn amlhau yn ddychrynllyd. Heblaw hyn mae difuddiant banciau America wedi taflu miloedd o weithwyr tlodion allan o waith, a roddi ergyd trwm ar ben masnach. Anfonwyd llongeidiau o nwyddau yn ol i'w gwneuthurwyr yn Lloegr, a'r canlyniad a fydd sydd amlwg i bob un ystyriol.

Nid yw hyn oll ond cyflawniad o brophwydoliaethau hysbys i'r Saint er ys hir amser : nid yw ond blaen ddyferion y cawodydd trymion a ddeuant. Eithr na thristaed y Saint cyhyd ag yr ymddygont yn onest tuag at eu Duw. Efe a rhagluniaetha drostynt, ac a fendithia hyd yn nod y Cenedloedd anniolchgar er mwyn diwallu ei Saint. Gwyddont hwy lle mae I*esuring Office* oreu y byd!

CYNNWYSIAD.



ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS, ABERTAWY.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 24.] TACHWEDD 21, 1857. [CYF. X.

## ARWYDDION YR AMSERAU.

### YMDDYDDAN RHWNG DAU WEITHIWR.

*Thomas.*—Bore da i chi Rhys, siwd y'ch chi'n teimlo?

*Rhys.*—Yn weddol, diolch i chi Tomos; ond ddim yn rhy dda.

T.—Nid w' inna ddim gwell, yn wir, Rhys. Mae y cwmpad yma o ddau swllt y bunt yn y pris yn newydd trist, ond yw e'?

R.—Ac mae nhw'n son na welsom y gweitha etto, Tomos.

T.—Yr y'ch chi, Rhys, yn darllen y niwspapirs a'r cyhoeddiadau, fallai y gwedwch chi wrtho i siwd mae hi tua'r Merica yna, a beth ddaw o hono ni yn y wlad hon. Beth i chi'r Seintiau yn meddwl am deni nawr? Ry'ch chi, Rhys, wedi gweyd cymmaint er's blynyddau wrtho i fod barnau i ddo'd ar y gwledydd, nes w i bron dychrynu.

R.—Gwir, Tomos, rhw i wedi tystio lawer gwaith fod Seion wedi cael ei sefydlu, ac mai yno yn unig y ceir gwaredigaeth pan y tywallt Duw ei lid ar y cenedloedd anufydd sydd wedi lladd ei weision, gwrthod ei efengyl, a gwargaledu yn eu trais, gormes, hoced, putteindra, a phob drwg.

T.—Pwy feddylia siwd beth, pan mae y pregethwyrs wedi bod yn gwaeddi Heddwch, iechyd, digonedd, a llwyddiant yr holl amser.

R.—Wel am gryndwch y dyn, beth sy'n amlycach na fod

*Pris, 1½g.*

barnau Duw eishws wedi dechra, a bod llywodraethau daearol yn cael eu profi yn rhy analluog i ddiwallu angenrheidiau y bobl, a chymeryd pethau gerfydd eu dolen, a'u dodi i weithio yn iawn, nes bo pawb yn cael digon o waith a bwyd?

T.—Tro digynnyg yw fod y bancau yn torri, a'r Mericaniaid yn hela nwyddau fel y gwedsoch, yn ol i Lloegar, a gweithwrs yn myn'd yn segur, a newyn yn syllu yn eu gwynebau y gauaf yma.

R.—Ie, Tomos, yn Macclesfield, er enghraifft; nhw gysont gwrdd mawr yno o ddynion mas o waith, ac eishws fe gawd ar ddeall fod goddef tost o eisha bwyd, a bod *rhaid* cael cynnorthwy o rywle arall, neu newynu. Yr un fath yw hi mewn manau erill—miloedd mas o waith—gwaeth o lawer na chwmpad pris, Tomos. Heblaw hynny, mae miloedd ar filoedd yr un fath yn Merica, ac mae nhw yn hwrni a bygwth, a'r niwspapirs yn eu cymhell i fyn'd yn *fillibusters* a phethau o'r natur yna, welwch chi.

T.—Wel beth yw yr achos o shwd drefan felldigedig. Am gryndwch y dyn; a oes newyn yn y wlad, a dim bwyd i gael, neu a yw y byd wedi darfod uso harn, offerynau, brethynau, defnyddiau o bob math, a'r holl bethau sy'n cael eu gneud yn Prydain Fawr? Beth ma'r niwspapirs yn weyd?

R.—Mae Duw, hyd yn hyn, wedi bod mor drugarog a phido hela pob math o farnau ar unwaith. Fe rows gynhauaf da, ac mae stordai Merica a'r wlad hon yn llawn o drugareddau, ac yr oedd mwy o alw nac erioed am y nwyddau a nodasoch pan ddigwyddws y peth hyn.

T.—Am clywch y dyn, pwy *sense* sy mewn shwd beth yna. Y stordai yn llawn, ac angen nwyddau, ao etto fod y gweithwyrs i odde eisha a newynu! Pwy drefan sy ar bethau fel hyn. Ble mae'r llywodraeth, a beth yw hi da, os nad i osod pethau yn iawn ar unwaith. Ond beth yw ystyr y torri bancau yma Rhys, pa'in na fysa'r lladron yn rhoi yr arian 'nol fel dynion gonest?

R. Gryndwch chi Tomos, ac fi ddangosa i chi y drefan. Yn awr chi wyddoch taw mishtri a gweithwyrs sy'n cynnwys pob rhan o fasnach. Mae mishtri gwaith harn, er enghraifft,

yn trafod yr arian sydd am waith miloedd o weithwyrs; yr un fath fishtri factris, a gweithiau erill, ac mae nhw yn delo gyda'r bancau.

T.—Y d—l a gaffo'r bancau!

R.—Ond pwyllwch chi Tomos i glywed y *rest.* Yn awr ni a wedwn fod cant o'r mishtri ac erill yn rhoi pob i fil o bunau mewn banc, a thyco'r banc yn rhoi eu benthyg i ddynon erill ar lôg mawr ar *securities*, megis tai, ystadau, neu unrhyw feddiannau, ar yr ammod o'u cael nol yn mhen hyn neu hyn o amser. Wel, dyco'r swn yn mynd mas fod y banc wedi mynd yn ddrwg wrth rhoi cymant o fenthyg, heb *security* da; neu nad oes cyfrif da i rhoi am yr arian. Dyco'r talwyr a'r rhai sydd yn meddu *notes* yn rhedeg i'r banc am eu harian, heb hidio beth ddaw o'r lleill, ac ni fydd hanner digon o arian ar y pryd yn y banc, neu wrth ei erchiad uniongyrchol, i dalu pawb sydd yn pwyso arno ar un waith, a thyna fe'n mynd yn ffradach, weli di, fel yr aeth hen *falanc pit* y mynydd yn wyllt, a gweithwyrs pwll y mynydd mas o waith, a galw mawr am lo ar yr un pryd—dyna siwd beth yw toriad y bancau yma i'r blewyn.

T.—Fi gwela hi i'r blewyn. Nawr pan dorws pwll y mynydd 'r odd Dai Shams y bancwr wedi meddwi a hurto—rodd e'n meddwl fod dram lawn yn dod lan pan odd Beni'r itchwr wedi gwaeddi *Emty carriage*, ac rodd Dai wedi llanw'r bwced â dwr, pan aeth yr hen bwll ar wyllt, heb gwni'r brac na dim, a'r lle yn yfflon canddryll i gyd!

Wel, dyna nhw'n gorffod chwythu ffwrnes mas o eisha glo, pan odd digon yn ngrombil y mynydd, cannodd o ddynon yn segur o eisha'i dorri, a dim ordors iddi nhw yn shop y cwmpni, a hyny i gyd achos yr hen Ddai Shams meddw a'i fripsyn *Balance Pit.*

R.—Ond mae llawer Dai Shams yn y fusnes hon, Tomos, a'r canlyniadau lawer yn fwy; ond i ddychwelyd at y stori—

Dyco'r un swn am fancau erill, heblaw fod nhw fallai wedi colli arian trwy y rhai fo wedi torri eishws, a thyco nhw gyd yn cael eu scubo un ar ol y nall, a'r holl wlad yn bermanu.

Dyco'r mishtri wedi hyny yn ffaelu talu'r gweithwyrs, a'r gweithiau yn mynd ar stop. Dyco fasnachwyr Merica yn hela llongeidiau o nwyddau yn ol i Lloegar, o eisha marchnad

iddyn nhw, ac yn ffaelu talu am danyn nhw. Eishws mae miloedd o weithwyrs mas o waith yn Merica, yr un fath ag yn y wlad hon.

Wedi hyny mae'r storom yn dod draw yma. Mae mishtri a masnachwyr mawrion y wlad hon yn delo cymant a'r Merica, ac yn colli llawer, ac yn gwybod fod bancau yn y wlad hon yn colli yr un modd, a thyma nhw yn ei chal hi nes bo nhw'n ffradach—mae llawer o fancau a masnachwyr y wlad hon wedi torri, ac erill ar y ffordd

Ac yn awr, tra y byddir yn gwerthu eiddo y bancwyr, ac eiddo y rhai sydd yn eu dyled, fe aiff tipyn o amser heibo cyn y ceir fallai hyn neu hyn o sylltau y bunt yn ol o'u crafangau, ac yn y cyfamser—yn ystod gauaf caled, fe fydd y gweithwyrs tlodion yn gorffod dyodde'n druenus, tra yr ymwledda y rhai a fuont mor lwcus a chael eu haur, gan ofni ei ymddiried i anturiaeth er llesoli eu cyd-ddynion!

T.—Melltith a'u dilyno, a phob cybyddion calon-galed o'u sort weda i. Yn awr fi wela'r fath haid rheibus yw'r aur fasnachwyr yma sy'n peido uso eu haur er lleshad y tlodion—yn ngrog y bo'r scamps cybyddlyd gyda'r cyfreithwyrs, y cetshbwliaid, a'r lleill o gacwn y plwyfi. Rown i yn fy nywyllwch bron a beio mishtir ein gwaith ni; ond rwy'n gweld nawr mai ei ofal penaf ef, druan, yw i borthu ei filoedd gweithwyrs.

Wel yn wir, un rhyfedd yw trefn yr arian yma! Yn yr amser gynt roedd y bobl yn newynu o herwydd nad oedd bwyd yn y wlad, ond yn ein oes Gristianogol. oleu, gyfoethog ni mae newyn a digonedd yn y wlad ar yr un pryd! Am clywch y dyn, beth yw y Llywodraeth da, os nad i amddiffyn a darparu dros ei deiliaid, chwilio allan lle mae modd i fynd mlaen a masnach, a phorthu y gweithwyrs? Mae nhw yn ddigon *handy* i glasgu trethi, a meindo'u hunain; ond ble mae nhw nawr? fi garwn i wybod.

R.—Tomos bach, mae'r Llywodraeth mewn cynddrwg os nad gwaeth picil na'r masnachwyr. Mae dwy rhyfel ganddi i gynnal yn yr India a China. Wnaiff arian papyr ddim o'r tro yn yr India, ar hyn o bryd; am hyny mae y wlad hon yn cael ei scubo o gymmaint o aur a eill y Llywodraeth grafu i dalu y sywjwrs yn yr India, a gadawir ni wrth drugaredd crug o aurfasnachwyr!

T.—Gwyddoch chi beth, Rhys, mae'n dod yn drwm am ein traws. ond yw hi? Beth i chi'n feddwl ddaw o'r India? Dyco Delhi wedi cael ei chymmeryd, a'r *sepoys* wedi cael eu gwasgaru odd yno, beth bynnag.

R.—Mae pren gwrthryfel wedi cael ysgydwad, a llawer o'r hadau marwol wedi cael eu gwasgaru. Dichon y ceir rhyw fath o heddwch am dipyn, tra y bydd cynlluniau mwy dwfn a bradwrus yn dirgel weithio. Eithr ni waeth beth, rhyfel a son am ryfeloedd fyddant brif nodweddau yr oes, hyd oni ddialo Duw waed ei Saint, a chospi gwrthodwyr ei deyrnas.

Ystorom torriad y bancau, ac attaliad masnach, a eill chwy thu heibio, a'r ffrwd rhedeg fel arferol; eithr beth wedwch chi, Tomos, am fod y Saint yn Utah yn ystorio cynuyrch eu cnydau erbyn y daw newyn cyffredinol ar y ddaear, ac y bydd yr aur mor ddiwerth a baw yr heol o'r herwydd?

T.—Mae hyna yn weyd lled eglur, Rhys, wn i ddim ffordd i'ch ammeu, o herwydd chi wedsoch ys llawer dydd fod barnau yn dod ar y wlad; ond, hawyr bach, rwy'n gobeithio nad oes!

R.—Duw sydd wedi cyhoeddi hyny, trwy ei brophwydi a'i Apostolion, yn yr oes hon; a mi a wn y daw ei eiriau i ben. A ddarlleusoch chi, Tomos, rhybudd prophwydol yr Apostol Orson Pratt at drigolion Ynys Prydain?

T.—Naddo, yn wir; beth mae e'n weyd?

R.—Dywed os na esyd y llywodraeth *stop* ar yr holl ddrygau ag y mae hi yn drwyddedu, yr ymwel Duw yn fuan â'r wlad mewn barn,

T.—Y llywodraeth yn trwyddedu drygau, wedsoch chi? Cato pawb! Pa ddrygau?

R.—Meddwdod a phutteindra, er enghraifft, y drygau ag sy'n arwain i braidd pob drwg arall. Mae yr awdurdodau yn trwyddedu tafarndai, ac yn adnewyddu trwyddedi y cyfrai o honynt ag y gwyddont yn dda eu bod yn buttein-dai hefyd.

T.—Yn wir, Rhys, mae hi yn siwr o fod cynddrwg yma ag oedd yn Sodom a Gomora gynt.

R:—Cymmerai ormod o amser i fi nodi i chi y gwahanol ddrygau ffiaidd sy'n galw am farn. Cri y tlawd, y weddw a'r amddifaid, gwastraff a gormes y mawrion, yn nghyd a'r holl ladd, lladratta, a godinebu sydd yn llanw y wlad â thrueni a gwae, sydd yn ddigon i dynu tan o'r nef i ddifa y drwgweith-

redwyr. Rhybuddia yr Apostol Pratt y genedl hon as na difarhant a diwygio, gan dderbyn teyrnas Dduw, y caiff eu llynges a'u byddinoedd eu dinystrio, a'u llefydd cadarn eu tynu i'r llawr: y caiff y tlodion godi yn erbyn y mawrion a'u hysbeilio, a hyn oll am eu pechodau gwarthus, a'u gwrthodiad o deyrnas Dduw.

T.—Wel mae hwna yn weyd digon eglur; ond braidd y galla i gredu y daw hi cynddrwg a hyna ar Prydain Fawr—bwli'r byd! ond amser a wed, Rhys, ac amser a wed am y newyn mae'r Seintiau yn darparu am dano.

Beth yw eich golygiadau chi am deyrnas Dduw? Mi fuo i yn ngwrdd y Methodist dydd Sul diwetha, ac fi glywas y gwenidog yn gweyd taw o fewn bolia'r Methodist mae teyrnas Dduw. Yn wir, Rhys, alswn i ddim a pheido werthin wrth feddwl am ei gest ef, achos hi fysa'n dala shâr dda! Wn i yn y byd a fydd cwmpad pris i'r pregethwyrs yma? Fi glywais i ddarllen y niwspapirs fod ffirad yn Merica wedi pregethu yn gampus ar gynnildeb yn yr amser drwg, ac i'r aelodau gynnal *society*, a thynu ei gyflog i lawr o fil, i bum cant o ddolers Wath yn y byd am hyna; beth yw'ch golygiadau chi am sefyllfa'r byd a theyrnas Dd uw?

R.—Pan ddywed Iesu Grist wrth hen Phariseaid rhith grefyddol a gwyneb hir ei oes Ef, Teyrnas Dduw, o'ch mewn chi y mae, dengys rheswm nad yn eu mynwesau cythreulig nhw yr oedd hi; ond o'u mhewn neu yn eu plith megis cenedl. Yr oedd Brenin y Deyrnas yno, ac fe gwaredsai nhw oddiwrth eu gelynion, pe bysai nhw ddim ond yn ei dderbyn E fel Brenin yr Iuddewon; ond ni fynent Ef, am yr hyn y daeth dinystr arnyn nhw.

Yn awr. chi wddoch o'r gora fod y Saint yn pregethu a phrofi yn unol a phrophwydoliaethau'r Beibl fod Teyrnas Dduw, neu yr Eglwys Apostolaidd wedi cael myned oddiar y ddaear.—Edrychwch sefyllfa'r byd pan ddaeth y Prophwyd Joseph Smith allan i gyhoeddi ei genadwri!—y pab mewn un man—pen Eglwys Groeg fan arall—Mahometaniaid, a Phrotestaniaid oll yn ymhoni fod teyrnas Dduw gyda nhw. Wfft i siwd deyrnas! Y Protestaniaid oeddynt wedi ymranu oddiwrth Eglwys Rhufain, o herwydd, meddan nhw, fod hi wedi dirywio er's hir amser. A ble mydda chi, Tomos, y cyson nhw'r awdurdod i

sefydlu teyrnas i Dduw, a hono heb na phen na chwt iddi hi? Eglwys Lloegr ei galwyd, yn ddigon priodol, ac nid Eglwys Crist,

Wel nawr welwch chi Tomos fe ffinws y diwygwyrs yma ar Eglwys Lloegr; a dim rhyfedd! Yr oen nhw'n gwel'd yr esgobion a'r ffiradon pena yn cael eu miloedd punnau bob blwyddyn—yn byw mewn palasau gwych—yn marchog yn eu cerbydau—yn cadw gweishon a morynon, ac yn ymgrymu o flaen breninoedd ac awdurdodau uchel, a gwgu ar y tlodion. Gwnaent ffurf o weddi, neu unpeth i bleso y brenin, yr un fath ag y gwnaethont weddi o ddiolch ar rhan Harri yr Wythfed, o herwydd iddo briodi menyw lân, ar ol bwtshera ei wragedd erill. Ni waeth ganddynt hwy am beth y gweddient, ddim ond iddi nhw gael y gyflog, y degwm, a'r dreth Eglwys.

Wel, os wyt ti yn y fan yna, fe drows y diwygwyrs ma's, ac fe wnawd stwr arswydus wrth sefydlu y gwahanol grefyddau yma. Ond, yn y diwedd, ple roedd eu hawdurdod? Roedd y naill o honynt yn ystyried fod gyda ge gystal hawl a neb i sefydlu crefydd, nes mae'r gwledydd yn llawn o nhw. Mae un sect yn tynu ffordd hyn, a'r nall ffordd yco, a phob un yn mynd i'r nef, medda nhw.

Er gwaetha yr holl grefydda mae'r wlad yn llawn o anonestrwydd a phutteindra, gormes a thrais, a'r gormeswr gystal crefyddwr a'r dyoddefwr, a dim argoel am filflwyddiant, a theyrnasiad Crist; ond drygioni ar gynnydd o hyd.

Nid dyna siwd deyrnas Dduw oedd gyda'r Israeliaid yn y dyddiau cyntefig. Yr oedd bendithion tymhorol ac ysbrydol ynddi iddynt hwy, a phrophwydi i rhagweled pob drwg, a'u harwain ar hyd llwybr llwyddiant.—Yn yr Eglwys Apostolaidd yr oedd prophwydi ac apostolion, yn nghyd a bendithion yr Efengyl. Gofalid am a phorthid y tlodion, a gwŷr yr aur oeddynt yn ei osod wrth draed yr Apostolion; ond nid fel rhoi degwm wrth draed esgobion cyflogedig a chyfoethog. Pysgotwyr tlawd, a dynion gweithgar oeddynt weinidogion yr Eglwys gyntefig: nid felly eglwysi'r sectau pan ddaeth Joseph Smith.

Wel, i dorri'r stori'n fyr, yn wir, Tomos, fe adferwyd teyrnas Dduw trwy y Prophwyd Joseph Smith. Mae ynddi brophwydi ac Apostolion, doniau yr Ysbryd Glân, gwybodaeth, dadgudd-

iadau, sicrwydd a bendithion tymhorol ac ysbrydol. Iesu Grist yw ei Brenin; am hyny mae hi i fyn'd yn ben y byd, er fod y pregethwyrs wedi hir gyhoeddi pregeth angladdol "Mormoniaeth."

Mae Seion yn awr yn cael ei hadeiladu, Israel wedi dechreu casglu, a darparu mawr i Frenin Daear ddod i breswylio yn nghanol ei bobl, sef Saint y Dyddiau Diweddaf.

Fe gynnydda Mormoniaeth, tra yr aiff y byd a elwir yn Gristianogol yn llai-lai o dan farnau dinystriol Duw; o herwydd gwrthod ei deyrnas, ac o heddyw allan, Tomos, edrychwch am rhyfeloedd a sôn am rhyfeloedd, daeargrynfäau mewn manau newyn, haint a nodau, a dim gwaredigaeth, ond yn unig yn Seion ac yn Jerusalem. Bloeddied y pregethwyrs a floeddiont am heddwch a llwyddiant; yn au brophwydi y profir hwynt, pan y cydnabyddir geirwiredd gweision yr Iôr, ag sydd, fel eu brodyr cyntefig, yn cael pob drwg air gan y byd, pan mae gau offeiriaid cyflogedig, bolfras, a chelwyddog yn cael eu parchu fel y Phariseaid gynt; ond gwae nhw, medda'r Iesu, pan y dywed dynion yn dda am danynt; canys felly y dywedasant am y gau brophwydi.

T.—Wel, yn wir, Rhys, mae y byd, modd bynnag, fel y'ch chi'n gweyd, gan nad beth yw Mormoniaeth. Os na allai eich credu chi, rhw i wedi syrffedu ar sectyddiaeth. Wn i yn y byd mawr ble i fyn'd am orphwysfa i'r hen gorph, gystal a'r enaid. Fe gymer y pregethwyrs ofal da, meddan nhw, i borthu'r enaid; ond os newyn neu haint a ddaw, gwae fydd i'r hen gorph. Gweda nhw fyno nhw am Brigham Young, rwy'n darllen nad yw e yn cael cyflog gan yr Eglwys, a'i fod yn meindo pethau at gysur tymhorol y Mormoniaid, gystal a phregethu am yr enaid. Ac os yw e nawr yn gosod y Saint i storio eu gwenith erbyn y delo newyn, fi debygwn i y gwelir gwerth dyn o'r fath pan y daw ei air i ben.

R.—Tomos bach, oni buasai fod yr Arglwydd wedi datguddio i'r Prophwyd Brigham, ac i Joseph o'i flaen, lawer o bethau erill i arwain yr Eglwys, cyn hyn, hi fysai ar ben ar y Saint er's llawer dydd. Dyna yw y gwahaniaeth rhwng gweishon Duw a gweishon Baal, fel mai gwir a ddywed y gair. Pan nad oes gweledigaeth mae y bobl yn trengu.

T.—Wel yn wir fi'ch treia i chi o galon gywir, a gweld os ych

chi'n gweyd y gwir, ac er cael y wybodaeth oddiwrth Dduw a addawch mor sicr.

R.—Ni allech neyd yn well, Tomos, os ydych am achub eich corff a'ch enaid rhag dinystr tymhorol ac ysbrydol, ac os ufydd hewch i'r hyn a glywsoch lawer gwaith o'r blaen, chi a gewch WYBOD am y ddysgeidiaeth, fel yr addawodd Crist.

*Thomas.*—Wel fi ddywa i i'r cwrdd heno, a chymmeraf fy medyddio, ac os dyalla i fod pethau fel y gwedwch, chi allwch fentro'ch bywyd na fydda i yn hir cyn crynho'm mac, a'i gwadnu hi sha'r Dyffryn draw, am fy mywyd, mor gynted ag yr agoro y ffordd. Dydd da i chi nawr.

*Rhys.*—Dydd da i chi. Tomos, hyd heno, cofiwch.—*W. L.*

---

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, TACHWEDD 21, 1857.

ARIANOL.—Dywed y Llywydd Richards, yn y 'Star,' fel y canlyn :—

Trwy y cyfrifon a dderbyniwyd yn ddiweddar yn y Swyddfa hon, canfyddwn fod sefyllfa arianol y Cynnadleddau yn gyffredin yn gofyn sylw neillduol Llywyddion a Bugeiliaid. Dysgwyliwn y dyry pawb ag y gorphwys y radd leiaf o gyfrifoldeb yn y mater yma arnynt sylw dioed i'r pwnc, fel na chaffo diwedd y chwarter yma hwynt yn fyr yn eu Harian Teml, a gofyniadau ereill. Tybir y gŵyr yr holl Fugeiliaid a'r Llywyddion yr hyn a ddysgwylir o'u gwahanol rheoliaethau; a gobeithiwn yn ddifrifol na chaiff yr un achlysur i bledio diffyg sylw neu analluawgrwydd yn y ffordd o esgus.

Rhai Cynnadleddau ac Henuriaid a gawn yn llawer rhy rwydd mewn defnyddio arian y degwm. Mae arbediad mewn, llawer golwg yn anhepgorol; ac hyd yn nod wedi hyny, ofnwn fod rhai a gant eu hunain yn analluog, ar ddiwedd y flwyddyn, i gyfarfod y gofynion sydd arnynt. Arferir cynnil-

deb gan bob arolygwr doeth; a'r hwn sydd anffyddlon dros y mammon daearol, ni eill ddysgwyl cael arolygiaeth dros ddaioni eneidiau.

Llywydd Cangen, pan ei ofynwyd paham y cymmerai y fath Neuadd gostfawr at gyfarfodydd, y byddai yr ychydig a ymgynnullent iddi hyd yn nod yn fwy cysurus mewn neuadd lawer llai, a atebodd fod y degwm a gesglid yn y Gangen yn agos talu am y Neuadd. Yr ateb ydoedd benderfyniadol. Ymddangosai y gwnelai unpeth yn y byd ag y gwnelai'r Degwm agos talu am dano, er yn wir anfanteisiol, gyfiawnhau y gost. Arddengys hyn yr ysbryd a ymfwynheir i ormodedd. Ysbryd gwastraff ac afradlonrwydd, yr hyn sydd yn arwain i dreuliad goreithafol ac afresymol o arian, ydyw ysbryd llywodraethol yr oes; ac nid yw rhai Henuriaid a Saint mor rhydd oddiwrtho ag y dymunem eu bod. Drwg nerthol yw hwn. Y mae yn torri i fynu ac yn dwyn dystryw ar genedloedd ffroenuchel a balch a arweiniwyd ganddo i borthi eu balchder chwannog. Y doeth a ddysgwyl at y gorchymyn, "Gochel hyd yn nod rhith drygioni."

Pan leiheir Rentydd Neuaidd i'r hanner, y teithio ac y llafurio Henuriaid yn y weinidogaeth, yn lle talu bwrdd wythnosol, y chwilir am gynnifer o esguson i arbed y Degwm ag sydd yn awr i'w wario, fe esyd rhywbeth i gyfrif Diwygiad.

Ni ddylai gael ei adael at ewyllys Llywyddion Cangenau a Chynnadleddau i gymhwyso arian yn ol dim ond galwad amgylchiadau; eithr dylai fod dealltwriaeth pennodol gyda'r Bugail at ba unig ddybenion y gallant eu defnyddio, ac ni ddylent, ar unrhyw achlysur, fyned dros y cyfryw derfynau heb awdurdodiad neillduol.

Yr arian, ag ydynt yn swm ddirfawr, y dywedir eu bod ar law, a ddylent gael eu trosglwyddo i'r Swyddfa hon.

Esgeulusdod, diffyg sylw, a difaterwch yn aml ddeuant yn drosedd, ac yn tynu cyfrifoldebau parhaol. Ymddengys rhai eu bod yn ei wneuthur yn bwnc i ddifa arian y degwm, fel na chyrhaeddont y Swyddfa hon; eithr nid yw pawb felly. Pan mae Bugeiliaethau pwysig wedi hir fod yn ddifeth mewn trosglwyddo yn gyson eu symiau cyflawn at yr amrywiol drysorfeydd, a phan ar newidiad swyddogaethau gweinidogaethol, y mae cwymp difrifol ymaith, yn cyrhaedd i braidd hollol fethiant

y diffyg sydd yn debyg o gael ei gyfrif yn y rhai sydd mewn gofal. Oddiwrth yr amgylchiadau lleiaf hyn, aml fernir gallu Henuriaid i reoli trafodiaethau y rhai a roddwyd i'w gofal.

Cymered pawb gwir a theilwng Saint bleser mewn talu eu Degwm, gan wybod ei fod yn ofyniad yr Arglwydd; ac megis cyfraith o'r Efengyl a gofleidiasom, rhaid iddo gael ei gadw, neu nid ydym yn byw yn ein crefydd.

---

NEWYDDION O UTAH.—(O'r *Star.*) Derbyniasom lythyron oddiwrth ein cyfeillion yn Utah, yn ddyddiedig hyd Medi 14eg, yn mhlith pa rai y mae hysbysiadau oddiwrth y Llywydd Young, yr Henuriaid W. Woodruff, ac F. D. Richards, ac oddiwrth ein teulu [S. W. R.], yr oll o ba rai a roddant yr hysbysiaeth mwyaf dymunol. Yn ychwanegol i lythyr yr Henuriad Woodruff, yr hwn sydd mewn man arall, difynwn a ganlyn o lythyr y Llywydd Young am Medi 12fed.

"Oddiar ymadawiad y brawd Samuel W. Richards, mae digwyddiadau o gryn bwysigrwydd wedi bod mewn perthynas i ddyfodol 'Mormoniaeth.' Ynfy llythyr olaf atoch dangosais fy mod yn tybied fod y Cadfridog Harney ar ei ffordd i'r Dyffryn hwn, gyda gofal o 2,500 o filwyr. Mynega hysbysiadau diweddarach ei fod wedi cael ei oedi yn Kansas: ac un Colonel Johnson, o Texas, wedi cael ei apwyntio yn ei le. Yn lle tair Catrawd lawn, casglwyd ddim ond tua 1,400 o wyr; o'r rhai hyn, er iddynt gyrhaedd Laramie tua'r 31ain o Awst, fe ffodd yn agos yr hanner. Gyda express y boreu hwn, deallasom i 700 o wŷr adael Laramie ar y 3ydd o'r mis hwn, am Llyn Halen. Cadben Van Vliet, o 'Staff' Harney a gyrhaeddodd yma ar yr 8fed. Gadawodd ei wŷr ar Ham's Fork, ac fe ddaeth i mewn gyda yr Henuriaid Bryant Stringham, ac N. V. Jones. Yr ydym wedi cyduno i anfon Dr. J. M. Bernhisel i waered yr hydref hyn. Ymedy a'r lle hwn dydd Llun, y 14eg, gyda Cadben Van Vliet, a chyda gwahoddiad neillduol, fe â gydag ef trwyodd yn uniongyrchol i Washington. . . .

"Mae pob peth yn dda gyda ni yn y Dyffryn. Meddwn gyflawnder o ŷd, llysieu, a ffrwyth. Mae iechyd, heddwch a ffyddlondeb yn gyffredinol; ac nid mewn unrhyw gyfnod o hanes yr Eglwys y cafodd y Saint y fath achlysur i lawenhau ag yn y presenol. Mae y Deml ac adeilaid eraill yn cynnyddu

yn wych. Mewn ffaith, parha y brodyr trwy y Diriogaeth i adeiladu a gwella gyda yr un gradd o ddyddordeb a ddangosid, pe ni fyddai un argoel am drafferth yn y dyfodol."

Trwy lythyr oddiwrth y brawd Franklin, dealwn mai dyben ymweliad *Quartermaster* Van Vliet i Llyn Halen oedd i ddeall os gellid cael porfa, lumber, a thanwydd i'r milwyr a erchwyd gan y Llywodraeth i Utah, ac hysbysu yr awdurdodau yn Washington yn nghylch hyny; hefyd i ddeall y manteision am sefydliad addas i'r milwyr yn ddigon agos at y Ddinas i egniol gynnorthwyo y Llywodraethwr newydd i weinyddu y gyfraith wladol, ac mewn estyn cyfreithiau yr Unol Daleithiau dros yr holl Diriogaeth.

Yr Henuriaid Little, Dana, Martin, Evans, a'r oll oeddynt o flaen Cwmpeini St. Louis oeddynt wedi cyrhaedd Medi 14eg. Yr oedd yr Henuriad G. A. Smith wedi dychwelyd o daith trwy y sefydliadau deheuol, a dwyn hanes hynod dda am eu sefyllfa a'u hargoelion. Dywed y brawd Franklin—"Dymunwyf gael fy nghofio gyda mawr gariad at y brodyr yn y weinidogaeth, yn o gystal a'r Saint ffyddlawn; canys mae coffawdwriaeth a gweddiau y cyfiawn yn werthfawr, ar ol llafurio cyhyd yn yr ynysoedd hyna."

Oddiwrth yr hysbysiaeth o'n blaen, mae'n eglur fod y Llywydd Young yn hollol fwriadu dilyn y cyfryw lwybr yn y drafferth bresennol gyda yr Unol Daleithau a wna i'r Llywodraeth Gyffredinol ddangos ei gwir liwiau mewn perthynas i'w bwriadau at Utah.

Mae cyfundrefn o ddwbl bledio a phleidiaeth warthus mor hir wedi hynodweddu ymddygiad y Llywodraeth gyffredinol tuag at y Saint, fel y mae yn llawn amser fod y wyneb len yn cael ei rhwygo ymaith, ac hyll wynebpryd anghenfil cywilyddus wynebog, yn cael ei orfodi i ymddangos, os oes un. O sefydliad y Saint mewn tref, dinas, neu gylch swyddol, caniatawyd yn rwgnachol iddynt fwynhau iawnderau a breintiau cyffredin dinasyddion; ac, yn mraidd pob enghraifft lle y rhoddwyd unrhyw iawnderau breintlenol, buan ddiddymwyd hwynt, o herwydd yr ofn a'r eiddigedd hwnw sydd wedi cynhyrfu awdurdodau y tir. Ni ellir derbyn Utah i'r Undeb yn awr, rhag ofn y byddai ganddi hi ormod o allu. Rhaid i'r Llywodraeth Gyffredinol lanw pob swydd yn y Diriogaeth, y

rhai, oddiwrth arferiad, y gallant honi unrhyw hawl i'w llanw fel ag i gadw y "Mormoniaid" lawr, neu hwy yn fuan a ymgymmernnt allwedd ag iawnderau mor anghenfilaidd a'u hunain. O ganlyniad, rhaid anfon swyddogion gwladol, ar lw i oresgyn sefydliadau "Mormonaidd," a rhaid i filwyr fyned i gynnorthwyo i'w wneuthur. Er cadw y "Mormoniaid" yn anhysbys o'u bwriadau, hyd oni fyddont yn hollol yn eu gafael, rhaid i filwyr deithio dan *eirchion seliedig*, rhag i'r Saint gael blaen yr awel o'u penderfyniad i'w gwneuthur fel eu cymmydogion gwaraidd (?) a phlanu nerth digon cref i'w cadw felly. Dengys y fath ymddygiad grediniaeth y gallai y fath bethau gael eu gwrthod gan bobl Utah, megis yn afresymol ac anghyfiawn, a rhaid defnyddio ychydig ddyfais er gochelyd gwrthwynebiad mawr Gall y dull hwn o weithredu fod yn angenrheidiol lle y mae diffyg o allu, neu ddiffyg cyfiawnder yn yr achos; eithr gan nad oes diffyg grym, penderfynwn o anghenrhaid mai diffyg cyfiawnder sydd yn gôfyn y llwybr rhagrithiol hwn (hyd yn hyn,) i gyfiawnu rhyw ddybenion anghyfiawn.

Mae braidd hollol anystyriaeth wedi cael ei ddangos gan y Llywodraeth Gyffredinol i ddeisebau pobl Utah am rhai blynyddau mynedol, mewn perthynas i'w hiawnderau a'u dyddordeb yn y Diriogaeth hono; ac y mae yn darddiant o lawenydd i ni weled tuedd ar rhan y Llywydd Young i wneuthur i'r Fam Lywodraeth fynegu ei bwriadau tuag at y bobl ag y mae efe am gynnifer o flynyddau wedi eu llywyddu mor ffyddlon a doeth. Pan y deallir y bwriadau hyny, ac y byddont o flaen y byd, hwy a dderbyniant yr ateb a ddengys i'r byd fod ysbryd a gwaed '76 mor dwymn heddyw a'r pryd hwnw, ac fod rhyddid ffurf-lywodraethol yn werth ei gynnal,

Pan anghena ein *Hewythr Sam* filwyr yn Utah i amddiffyn y wlad, a rhyddid ffurflywodraethol, efe a all eu cael yn union ar y tir, yn barod ar eiliad o rybudd; a gwell fyddai iddo fendithio y wlad gartref â'r arian a dreulir yn y fath gyrchiadau nag i wario ei fyrddiynau i felldithio y wlad a'r bobl sydd mor bell hwnt. Ni all undyn resymol ddisgwyl i bobl Utah fod yn foddlon gyda dim yn llai na'u hiawnderau ffurf-lywodrethol, cyhyd ag y byddont yn rhan a chyfran o'r adeilad mawr politicaidd sydd wedi ei adeiladu ar y cyfryw sylfaen.

## DYSGEIDIAETH YR APOSTOL OBSON HYDE.

(Parhad o Tud. 367.)

Yn y carchar hwn y rhaid iddynt aros hyd oni thalont y ffyrling eithaf. Bu y Cyn-ddiliuwiaid yn y carchar hwn am hir amser; hyd onid o'r diwedd, y pregethodd Crist yr efengyl i'w hysbrydion, fel eu bernid yn ol dynion yn y cnawd. Efe a agorodd ddrysau y carcharau i'r rhai oeddynt rhwym, a chyhoeddodd rhyddid i gaeth feibion a merched Daear, a gaethiwyd gan bechod yn nyddiau Noah.

Tra y gorweddodd corph yr Iachawdwr yn y bedd, nid oedd ei ysbryd yn gorphwys. Yr ydoedd yn pregethu yr efengyl i'r ysbrydion yn ngharchar. Eithr wedi y dyoddefont yn ngharchar, ac eu rhyddheir yn y diwedd, ar ol llawer mil o flynyddau o wasanaeth mewn poen a thywyllwch, ni eill eu gogoniant fod fel yr eiddo yr haul, na'r eiddo y lleuad; nac ychwaith megis y ser dysclaeriaf; eithr feallai megis llwyd oleuad gwan seren bellenig—mor bell oddiwrth yr haul, fel mai o'r braidd y gall pelydr o'r belen ddysclaerwych hono ei chyrhaedd.

Y morwynion ffol, gan na feddent foddion goleuni ynddynt eu hunain, ni allasant byth fyned i mewn i drigfan neu fyd sydd yn llewyrchu wrth ei oleuni ei hun; eithr gan nad oedd ganddynt olew yn eu llestri, gorfodwyd hwynt i fenthyca, ac yna rhaid iddynt fyned i fyd neu drigfan sydd yn llewyrchu wrth oleuni benthyciol. Meddianwch oleuni ynoch eich hunain! Gallwch fenthyca yr oll a alloch gyda mi, a mi a roddaf fenthyg yr oll a allaf, eithr bydded genych, o leiaf beth goleuni ynoch eich hunain, ac halen hefyd.

O, na thywynid tystiolaeth Crist, yr hon yw ysbryd y brophwydoliaeth, yn helaeth ar yr holl bobl hyn! Gwnelid hyny pe byddem oll yn bur a theilwng. Yna ni raid yn hwy i'r naill ddweyd wrth y llall, Adnebydd yr Arglwydd; canys hwy a'i adwaenent o'r lleiaf hyd y mwyaf. Yna caffem wybod nad ydym na gwellt, us, rhŵd, bràn, nag efrau; eithr pur a gwir, gorwych No. 1, ac wedi ein cyfeirio i'r Deyrnas nefolaidd —"yr ochr ddeheu i fyny, gyda gofal."

Gyda y goleuni a'r wybodaeth ag ydym ni trwy ras Duw

wedi gael, ymwthiwn yn mlaen gydag hyfdra, ac uchelfrydedd canmoladwy, i afaelyd yn y wobr a brynwyd gan waed Iachawdwr, ac a rȃd gynnygir i ni yn fflamiad llawn ysbrydoliaeth, yr hwn oleuni a ddiystyrir gan y byd, a wawdir gan grefyddwyr, ac a gasheir gan yr holl genedloedd. Caniatäed Duw i sefydlu y gwirionedd hwn yn y ddaear, a nyni yn y goleuni hwn, a'r goleuni hwn ynom ni, a'r cariad o hono am byth ac yn dragywydd. Amen.

---

## DYSGEIDIAETH Y LLYWYDD HEBER C. KIMBAL,

(*Gorphenaf* 5, 1857)

---

Gallaf ddweyd un peth mewn perthynas i bregethu o flaen y gynnulleidfa hon, y mae lawer yn galetach i lefaru wrth y bobl yn y prydnawn nac y mae yn y boreu, canys deuant yn nghyd yn gyffredin ar ol bwyta cinio drwm, ac mae hono yn gysylltiedig a'r gair a dderbyniont yn y boreu, yn eu llanw i fyny, ac maent rhywbeth yn gyffelyb i ysgubor sydd yn agos llawn o wair; canys gwyddoch ei fod yn llawer galetach i osod i mewn y llwyth diweddaf na'r cyntaf

Llefarwyd am y pethau hyn o herwydd fod yr amgylchiadau sydd yn ein hamgylchynu yn eu galw allan.

Gwaith Duw ydyw hwn, ac ni all yr holl fyd attal ei lwyddiant. Maent wedi rhoddi y cymmeriad i fi yn y byd o alw pethau wrth eu hiawn enw. Y mae gryn lawer gyda hwynt fel yr oedd gan yr hen Ellmynddyn, yr hwn a ddywed, "nid y peth ei hun ydyw, ond enw y peth damniol," dyna fe i'r dim.

Gallant hwy siarad ac awgrymu am bob peth, eithr ni alwant hwy bethau wrth eu henwau. Galwyf hyny yn rhagrith, ac ni fu erioed genedl ar y ddaear yn llawnach o hono nag ydyw y genedl hon.

Am y peth a alwant yn 'Formoniaeth,' neu a dweyd yn iawn, Eglwys Iesu Grist o Saint y Dyddiau Diweddaf, dywedwyf ei fod yn wir, a Joseph Smith y Prophwyd, yr hwn a laddwyd yn Illinois, yn ngharchar Carthage, yw yr awdwr o honi, neu, mewn geiriau ereill, efe oedd yr offeryn yn nwylaw

Duw i'w dwyn allan. Daeth Pedr, Iago, a Ioan, tri o'r Apostolion cyntefig, ac a'i ordeiniodd, ac a'i neillduodd i waith y weinidogaeth yr oruchwyliaeth olaf hon.

Dygwyf dystiolaeth o'r pethau hyn y rhai ydynt wir—pethau a wn ac a ddeallwyf. A thystiwyf hefyd fod Hyrum Smith yn Batriarch i Dduw, ac yn hollol gymmaint felly ag y bu Abraham, Isaac, neu Jacob erioed. Fe ordeiniodd Joseph Smith y Prophwyd ei dad yn Batriarch, ac yntau a ordeiniodd Hyrum.

---

## AMRYWIAETHAU, &c.

Mae terfysg wedi newydd ddigwydd yn Nottingham. Wedi i'r miloedd gweithwyr ag oeddynt heb waith ac yn dyoddef newyn gynnal cyfarfod yn y marchnadle, rhuthrasant at siop gemydd (jeweller,) ac yspeiliasant werth cannoedd o bunnau.

---

Hysbysir ni fod clefyd a marwolaeth yn drwm iawn yn Ngogledd Cymru.

☞ Hysbys i'r Saint y symudiadau mawreddog a wneir yn awr, a'u gweithrediad nerthol dros deyrnas Duw. Un o'r rhai hyn ydyw galwad adref yr henuriaid sydd yma ar genadiaeth. Fe effeithia hyny lawer dros fudiad y Saint tlodion o'r wlad hon. Yn ngwyneb hyn, a gofynion 'pwysig eraill sydd wedi dyfod mor ddisymmwth, gelwir ar y Saint i ddangos, yn ol eu hamgylchiadau, pwy dlodion o honynt a fyddant deilwng, o gael, pan ddelo yr amser.eu *dewis* allan o'r LLAWER a alwyd, trwy ymegnio llaweri wneuthur cyfraniad haelionus, i gynorthwyo i gyflawnu y gorchestion hyn, trwy yr hyn y sicrhant eu gwaredigaeth eu hunain yn nghynt nag y meddyliant. Mae hint i'r doeth yn ddigon. Cyhoeddwn yr enwau a'r cyfraniadau yn nghyd ag addewidion yn yr UDGORN, fel y barner hwynt allan o'r llyfrau. Gofynir talu yr addewid olaf cyn diwedd Ionawr, a'r cyfraniadau fel eu cesglir.

---

TALIADAU o Hydref 10 hyd Tach. 26.—D. Davis, £1; H. Harris£ £1, I. Jones, 10s.; J Davis, 10s.; M. Vaughan, £1 10s.

---

CYNNWYSIAD.



ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS, ABERTAWY.

// UDGORN SEION,

NEU

Seren y Saint.

RHIF. 25.] RHAGFYR 5, 1857. [CYF. X.

## YSBRYD YR AMSERAU.

(O'r *Star.*)

DERBYNIASOM lythyron etto oddiwrth ein brodyr yn y Mynyddau, ac hefyd rhifynau 24, 25. 26, a 27 o'r *Deseret News.* Dyddiad diweddaraf y newyddion a dderbyniasom yw Medi y 9fed. Derbyniasom hefyd amrywiol newyddiaduron Americanaidd. O'r ffynonellau hyn y casglwn " ysbryd yr amserau" mewn perthynas i waith mawr y dyddiau diweddaf, fel yr arddangosir gan bobl yr Unol Dalaethau ar y naill law, a'n brodyr gartref ar y llaw arall. Braidd y rhaid i ni hysbysu y Saint fod gwahaniaeth mawr rhwng teimladau a bwriadau y ddwy blaid. Ar y naill law dengys yr Unol Dalaetbau dueddfryd i barhau yn eu llwybr o anghyfiawnder a gormes tuag at pobl Duw. Yn lle ein hymiawnu am ein cam, a roddi i ni ein hiawnderau ffurf lywodraethol, wedi dyoddef o honom gymaint oddiar ddwylaw ein gelynion, a chydag hanesyddiaeth annghyffredin ein hymsefydliad yn yr anialwch i brofi mor fawreddog yr ennillodd y Saint eu honiadau i hunain-lywodraeth, penderfynant o hyd i ychwanegu sarhad at sarhad. niwed at niwed, a gormes at ormes. Yn lle ein gadael yn llonydd i ddadenhuddo teyrnas Dduw, a bywydoliaeth ei sefydliadau, penderfynant, os yn bosibl, i fathru y Saint a phob peth o darddiad "Mormonaidd," Bydded felly! Y cyfarchiad penaf ydyw a eill ein gelynion dalu i ni a'n crefydd santaidd. Os ffaith ydyw fod y deyrnas hon yn llawn o hadau dadgorfforiaeth, fel yr

ymddifa, heb ei chyffwrdd, i ddarfodedigaeth,—os ei nherth cynheaid ni ddeil i fyny ei chorff, a bod ei goleuni mor wan fel y diffoddai yn fuan o ran ei hunan, paham y gwneir y fath ymdrech i'n dinystrio, y gosodir y fath freichiau cawrol i ymdrechu gyda ni, ac y codir i fyny y fath gorwynt i ddiffodd y goleuni hyna? Mae hyn oll yn gydnabyddiaeth o sefydlawgrwydd y gwaith, yn brawf o egni Israel ieuanc, ac yn rhag ddangosiad o'i seren gyfodol.

Ar y llaw arall, yr awdurdodau yn Seion ydynt benderfynol nad ormesir, sarheir, nac y sethrir hwynt dan draed yn hwy gan y rhai a gashant y Saint. Nid hayach y gwelant dreisiad yr ysbryd o ffurf-lywodraeth, yr hwn a ddywed y caiff y bobl ddewis eu rheolwyr eu hunain, ac y caiff cyfundeb medrus o hunan-lywodraethu, y fraint hono. Dyma yn amlwg dôn ysbryd gwerin-lywodraethol, Heriwn y byd i ddangos cyfundeb sydd a chanddynt y fath honiadau ar hunain-lywodraeth ag eiddo y Saint. Eu haesyddiaeth—yn fwy enwedig wedi eu halltudiaeth i'r Mynyddau--sydd yn llawn o brawf o'r ffaith hon. Mae yn amlwg nad oes tuedd ynddynt i dderbyn pob dyhiryn a welo y Llywodraeth yn dda ei anfon i godi cwerylau gyda yr Eglwys; nac i gael nerth arfog yn y diriogaeth i flino y bobl, nac i drafferthu gwŷr eu dewisiad yn nghyflawniad eu dyledswyddau. Ni chaniatant ychwaith i'r cyfundeb gael ei ddyfetha, heb rhoddi prawf cadarn fod tân '76 yn llosgi yn mynwesau gwroniaid '57, Yn hyn y Saint yn fawreddog a eilant eu harweinyddion, a'r holl Diriogaeth sydd unfrydol yn y mynegiad gwronaidd.

---

## PROPHWYD YN ISRAEL.

---

Diau yr aml darawyd pob un o'n darllenwyr ag sydd i ryw raddau yn gynnefin a'r Beibl, gan yr hanes hynod ac an nghyffredin o Israel dan y Prophwydi. Yr oeddynt y pryd hwnw, yn wir yn bobl neillduol. Mesur-nod gyffredin ni fesurai hwynt, ac ni ddeallid eu hanesyddiaeth gan feddyliau cyffredin ; canys troai Israel mewn uwch cylch na'r cyfryw a arferai cenedloedd eraill deithio ynddo. Llawer o ddygwyddiadau yn eu profiad a rhuthrant i'w cof—ll wer o esiamplau

rhagorol ddoethineb a dwfn mewnol welediad y Prophwydi a ellid nodi. Eithr ar hyn o bryd mae genym yn llygad ein meddwl un achos neillduol.

Cythryblwyd brenin *Syria* o herwydd bod brenin Israel yn gwybod am ei gynlluniau, a thrwy ryw fodd a ddarganfyddodd, a thrwy hyny a aflwyddwyd i ochelyd, y magiau a osodwyd i'w ddal. A'r brenin Syriaidd a alwoddfyn nghyd ei weision, "ac a ddywedodd wrthynt, Oni ddangoswch i mi pa un o honom sydd dros frenin Israel? Ac un o'i weision a ddywedodd, Nid oes neb, fy arglwydd frenin: ond Eliseus y prophwyd, yr hwn sydd yn Israel, a fynega i frenin Israel y geiriau a leferi di y'nghanol dy ystafell wely."

Mae Israel olaf-ddydd, megis Israel cyntefig, hefyd yn bobl neillduol. Ni fesurir hwynthwy na'u sefydliadau wrth fesurnod gyffredin. Hyn a brofir gan yr holl fyd a ddygir i wrthdarawiad a'r Saint, a chydnabyddant y ffaith yn barhaus Teimlant fod "Mormoniaeth" yn hollol yn beth newydd, a bod symudiadau a dadenhuddiadau yr Eglwys hon mor newydd a dyeithr i'w pob-ddyddiol brofiad a phe byddai bodau o fyd arall wedi dyfod i gymmeryd rhan yn actyddiaeth fawr y ddaear hon. Er yr elyniaeth a fodola yn nghalonau y Cenedloedd yn erbyn y Saint, un ffaith a ddangosant feu bod yn ei ymwireddu—sef, fod yr Eglwys hon a'r byd yn ymdroi mewn dau gylch gwahanol.

Mae Prophwydi hefyd yn Israel Olaf ddydd, hyd y nod megis ag oedd Prophwydi yn Israel gyntefig. Daw etto yn fater o ofid i rheolwyr y ddaear—fel yr hunlleg i'w haflonyddu yn eu cwsg—am y gwybydd y Prophwydi hyn y geiriau a lefarant hwy yn eu "hystafell wely" a'u dirgel gynghorau. Y dystiolaeth ganlynol o'r *New York Herald* sydd yn llawn o ystyr:—

"Cafodd Major Van Vliet ymweliad hir gyda y Llywydd prydnawn ddoe. Dywed fod Young yn hollol mor hysbys mewn perthynas i'r llywodraeth ag unrhyw ddyn yn Washington."

Nyni a ddatguddiwn y dirgelwch. Y ffaith ydyw, *mae yma Eliseus, a mwy nag Eliseus etto yn Israel.*—STAR.

# NEWYDDION AMERICANAIDD.

Ymgyrch Utah.—Cyrhaeddodd Caben Van Vliet, *Quartermaster* Cynhorthwyol byddin yr Unol Dalaethau, i'r ddinas hon prydnawn ddoe, yn gyfeiriol o Diriogaeth Utah, wedi gadael Dinas Llyn Halen ar y 14eg *ult.*.

Deallwn fod y Mormoniaid yn benderfynol i beidio caniatau i filwyr yr Unol Dalaethau fyned i mewn i Ddyffryn y Llyn Halen, a hwy a ddefnyddiant nerth i'w hattal, os bydd angen. Disgwyliant ar symudiad presennol y llywodraeth ddim ond megis adnewyddiad o'r erlidigaethau a achwynant eu bod wedi eu dyoddef yn y dalaeth hon, ac Illinois, a phenderfynant ei wrthwynebu ar y cychwyniad.

Cyfarfyddodd Cadben Van Vliet y milwyr Medi yr 22ain, o Fedi, ar y Sweet Water, ryw 230 milltir tuhwnt i Fort Laramie. Yr oeddynt oll yn iach ac yn hwylus. Yr oedd rhai o'r gosgorddion diwalliadau yn Harris Fork, 143 milltir tuyma i'r Dyffryn, tra yr oedd eraill yn mhell ar ol; ac y mae yn amheus pa un a allant fyned i mewn i Ddyffryn y Llyn Halen y tymhor hwn.

Cyfarfyddwyd Colonel Johnson, gyda ei gymhorth ar y laf o Hydref, 90 milltir tuyma i Fort Laramie. Penderfynai fyned mewn i Ddyffryn y Llyn Halen yr hydref hwn. Cyfarfyddwyd y Llywodraethwr Cumming a'r Ysgrifenydd Hartnett ar yr 8fed o'r mis hwn 90 milltir tuhwnt i Fort Kearney, oll yn dda. Syrthiodd eira trwm yn Fort Bridger ar y 15fed o Fedi.

Fe deithiodd Cadben Van Vliet yn anghyffredin—dros 2,400 milltir dros dir, oddiar y laf o Awst. Ymedy am Washington heddyw.

Clywsom i Cadben Van Vliet dreulio wythnos yn Ninas y Llyn Halen Mawr. Ymddygwyd yn barchus iawn atto, a gwahoddwyd ef i gyfranogi o lettygarwch amryw o wŷr arweiniol y ddinas. Eithr ar bob achlysur, ac o bob chwarter, clywodd ddim ond un mynegiad o farn—a hyny oedd, na chaniataent byth i filwyr yr Unol Dalaethau neu y swyddwr a apwyntiwyd gan Lywodraeth yr Unol Dalaethau gael troed-afael yn eu terfynau. Yn eu holl draethiau cyhoeddus, ac yn eu hymddyddan, arlwir y syniad hwn.—ni chaniatant byth i'r

milwyr fyned i mewn i'r ddinas! ac os gwnant, bydd wedi y cyflwyno y trigolion y ddinas i'r fflamiau, y diriogaeth o'u hamgylch i ddiffaethwch, ac yr ant ymaith i'r mynyddau. Credant fod Brigham yn oruchwyliwr apwyntiedig yr Arglwydd, a pha beth bynnag a orchymyna efe iddynt wneuthur, hwy a'i cyflawnant gyda pharodrwydd. Dywedant fod ganddynt luniaeth ddigon i barhau iddynt dair neu bedair blynedd; ac, ar ol yr erlidigaeth a gawsant, ac a ydynt yn gael gan yr Americaniaid, hwy a wrthwynebant i'r eithafedd olaf.

A bod y dywediadau hyn yn wir, megis yn ddiau y maent, bydd rhaid i'r Llywodraeth godi nerthoedd newydd, a danfon adgyfnerthiadau trymion at y fyddin yn Utah y gwanwyn nesaf.

Dr. Bernhisel, Cenadydd o Utah i'r Senedd, a gyrhaeddodd yn nghwmpeini Cadben Van Vliet.—O'r *Saint Louis Republican*

## TRAFFERTHION YR YMGYRCH UTAHAIDD.

Nid oes porfa o gwbl rhwng Fort Laramie a'r Afon Werdd, pellder o *bedwar can milltir.* Yr ammodwyr at gyflwyno diwalliadau y Commisiynydd a'r Quarter-master, (Messrs Russell a Wadell,) ydynt yn colli hiferoedd dirfawr o'u hanifeiliaid: a'r gosgorddion a gyd ant a'r gwahanol eirchiadau a aethant heibio i Fort Laramie a allant wneyd ddim ond deuddeg milltir y dydd.

Edrychwn am y chwech cwmpeini a erchwyd allan megis hebryngwyr i'r Llywodraethwr a'i nifer y fory. Ni allant wneyd dros 18 milltir y dydd, a byddant hyd Rhagfyr yn gwneud y daith. Ni chredwyf y gallant gael eu ceffylau trwyodd o gwbl y gauaf yma; ac feallai y TRENGA GRYN NIFER O'R GWYR O DDIFFYG AMDDIFFYNIAETH. Gwn y bydd CYFLAWNDER O EIRA erbyn canol y mis hwn yn y myned-fanau trwy ba rhai y bydd ganddynt fyned. O'r *Buffalo Commercial Advertiser.*

## YCHWANEG ETTO.

Anifeiliaid gosgorddion y Llywodraeth, ar y Plains, oeddynt yn TRENGU YN GYFLYM; a chredir y cyferfydd y

gosgorddion â DYODDEFAINT MAWR trwy y gauaf.

Colonel Johnson, penaf y wasanaeth drosglwyddiadol, gyda 19 pedrolfen ysgafn, a gyfarfyddwyd. Teithiai yn gyflym, yn ol 60 milltir y dydd Y mulod oeddynt yn ymdorri lawr Syrthiai niferoedd o honynt ar hyd y ffordd, wedi eu treulio allan a'u diwerthu trwy y gwaith anghyffredin eu gorfodwyd i'w wneuthur.—O'r *Saint Louis Democrat*,

---

## ARDDANGOSIAD GWLADGAROL UTAH.

---

Eu penderfyniad mynegedig o'r dechreu i'r diwedd ydoedd hyn,i wrthwynebu, ar bob perygl, ddyfodiad i mewn y milwyr yr hydref hwn. Pan eu hadgoffwyd o'r sicrwydd, yn yr achlysur o fod eu gwrthwynebiad un flwyddyn yn effeithiol, y byddai i nerth gael ei anfon i Utah y flwyddyn ganlynol, yn erbyn pa un yr ofer ymdrechai ddwywaith eu poblogaeth mewn arfau i gau y mynedfanau, attebasant eu bod wedi ystyried hyny oll, ac mai pan y byddai y fath nerth wedi ystormio y mynedanau hyn, yr elent i mewn i ddyffryn yn yr hwn ni fyddai un llysieuyn yn wyrdd, nac un garreg yn aros ar y llall. Cymerasant drafferth i ddangos iddo eu gerddi a'u gwinllanau, eu cynheuaf, eu hysguborau, a'u *stock* byw, ac i wrth gydmaru eu llwyddiant presenol â'r fath olygfa o anghyfanedd-dra.

Eu hamcan yn awr, ydoedd enill amser er i'r Llywodraeth dynu ei chamrau yn ol; a bwriadant osod eu hachos gerbron y Senedd, trwy eu Cennadydd, Dr. Bernhisel, yr hwn a ddaeth gyda Chadben Van Vliet ar ei fynediad, ac a sydd yn awr yn ei wersyll. Ar un amser, ei benderfyniad ydoedd peidio a myned i Washington y gauaf hwn; eithr fe ail ystyriwyd hyny.

Dywedasant yr ystyrient fynediad y milwyr i mewn megis adnewyddiad o'u dyoddefiadau yn Kirtland, Independance, a Nauvoo; eu bod wedi dysgu gwers oddiar brofiad, ac yr elent i gyfarfod ag ymosodiad yn awr ar y cychwyniad, a gwrthwynebu yr aing cyn y treiddio i'r pren.

Os na chadwant y milwyr allan eleni hwy a aberthant y cwbl er mwyn eu crefydd, myned i'r mynyddau, ac ymladd rhyfel o ogoniant a llwyr ddinystriad. Sylwodd Brigham Young

aml waith mai dyma gyfnod mwyaf gogoneddus ei fydd, ac na wawriodd dedwyddach dydd ar Formoniaeth erioed na'r hwn ar ba un y gorchymynwyd cychwyniad y milwyr; pa fwyaf yr erlidid ei Eglwys, goreu oll y llwyddai.

Wrth ddiweddu [ei araeth] galwodd Mr Taylor sylw y bobl at y Cadben, a chyfeiriodd at ei fusnes yn y ddinas; adroddodd sylwedd ei ymddiddanion, ac a ddywedodd y gwnelai ofyniad, fel y gallai Cadben Van Vliet ddeall ei fod wedi cael ei wneyd yn hysbys o benderfyniad yr holl bobl. Gofynodd i bawb presennol ag oeddynt foddlon dinystrio eu tai, tynu i lawr yr hyn a gymmerodd ddeng mlynedd iddynt ei adeiladu—gwneud eu dyffryn hardd yn ddiffaethwch, a myned i'r mynyddau, yn yr achlysur o lwyddiant milwyr yr Unol Dalaethau i ymwthio trwy y mynedfanau, i gyfodi; a'r gynnulleidfa yn ddieithriad a gyfodasant ar eu traed, ac a arosasant felly yn ddigon hir i'w alluogu ef i weled eu bod yn unfrydol,—Y *New York Daily Tribune.*

---

## DAEARGRYN OFNADWY YN BUFFALO.

---

Cyffrowyd a dychrynwyd yr holl ddinas, prydnawn ddoe, tua deng mynyd wedi tri o'r gloch, gan ysgydwad a siglodd yr adeiladau mwyaf cadarn, ac a osododd lestri a chelfi tai i ddawnsio mewn dull digyfrif.

Yr ysgydwad, yr hwn a barhaodd tua hanner mynyd, ydoedd mor arw, fel y rhedodd pobl allân o'u tai mewn dychryn gorwyllt.

Mewn llawer enghraifft fe holltwyd muriau, a thaflwyd simneuau i lawr, a chlywwn am un boneddwr wedi cael dolur ar ei fraich gan briddfaen yn syrthio. Canwyd clychau, a digwyddodd amryw bethau eraill fel arall. Yn nghymydogaeth ein swyddfa ni, gwnaed yr argraff fod ein ager-ferwedydd wedi ffrwydraw; ond mae hwnw yn fwy sefydlog nag yr ymddengys fod sylfaenau y dref.

Yr oeddem yn nghanol brawddeg pan y gwnaeth twrddiant isel, dwfn taranau tan ddaearol ein cyffroi, ac ysgwyd yr adeilad megis â pharlys.—*Buffalo Express.*

## CEILIOGOD Y RHEDYN,

Mae dau foneddwr yn y ddinas hon yn deisyf cyfraniadau at gynorthwyo y dyoddefyddion trwy bla ceiliogod y rhedyn, y rhai a anghyfaneddasant lawer o'r sefydliadau yn Minesota Ogleddol, yr haf diweddaf. Dangosant fod amryw deuluoedd yno mewn sefyllfa anghenog, ac mai gwael yw eu darpariaeth gyferbyn a'r gauaf. Apeliant at yr haelionus am gynnorthwy. —*Galena Aduertiser.*

---

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

---

DYDD SADWRN, RHAGFYR 5, 1857.

Er fod miloedd yn ein gwlad yn dyoddef eisieu ymborth o herwydd melldithiol drefniadau masnachol y Cenedloedd, ac er fod swn haint a rhyfel yn twrddan yn ein clustiau, a duon gymylau yn feichiog gan farnau dyfodol ar ymdorri uwch ein penau, holl obaith y Saint ydyw gwaredigaeth y Duw hwnw ag oedd yn Israel gynt. Ei law Ef sydd yn gweithio, dinystr y cenedl oedd ar y naill law, ac ar y llaw arall waredigaeth fuan ei Saint.

Tra mae'r byd o'n hamgylch yn gynhwrf a gwylltineb, tawelwch ac ymddyried ydynt brif nodweddau y Saint; canys dywed yr Iesu, Pan weloch y pethau hyu, dyrchefwch eich penau, a byddwch lawen.

Nid amser am aml eiriau ydyw hwn, ac na ddisgwylied y Saint gael pob manylion trwy y wasg—mae ganddynt ddeall meddwl Duw, trwy yr Ysbryd Glân, oddiwrth awgrymiadau ag *hints.* Dengys y doeth eu gwybodaeth trwy en gweithredoedd—eu hufydd-dod parod i ofyniadau Duw, heb esbonio &c.

Cyhoeddwn ychydig enwau ac addewidion o gyfraniadau, rhai oddiar gof, ac eraill a anfonwyd ini. Dymunwn i enwau pawb gael eu trosglwyddo. Maddeued rhai o frodyr Cynghor Abertawy nyni os anghofiasom hwynt, ac anfonant eto.

# CYFRANIADAU AT FUDO A THRWSIO ALLAN Y CENHADON.

## ADDEWIDION.

| | £ | s | d |
|---|---|---|---|
| David Davies, Abertawy . . . . . | 1 | 0 | 0 |
| William Richards, „ . . . . . | 1 | 0 | 0 |
| George Cutliffe, „ . . . . . | 1 | 0 | 0 |
| Henry Matthews „ . . . . . | 1 | 0 | 0 |
| John Evans, Treboth, . . . . . | 1 | 0 | 0 |
| Thomas Lewis, Treforis, . . . . . | 1 | 0 | 0 |
| Hopkin Jones, „ . . . . . . | 1 | 0 | 0 |
| William Richards, Cilhâ, . . . . | 1 | 0 | 0 |
| Levi James, „ . . . . . | 1 | 0 | 0 |
| Thomas Evans, Cyfing, . . . . . | 1 | 0 | 0 |
| John Hill, „ . . . . . . | 1 | 0 | 0 |
| Thomas Harris, gynt o Dre Sior, | 1 | 0 | 0 |
| Benjamin Jones, Skewen, . . . . | 0 | 10 | 0 |
| O Gynnadledd Sir Benfro:— | | | |
| John Gibbs, Hwlffordd . . . . . | 1 | 0 | 0 |
| David Harries . . . . . . . . | 0 | 12 | 6 |
| Mrs. M, White . . . . . . . . | 0 | 11 | 0 |
| Miss M. White . . . . . . . | 0 | 6 | 0 |
| Jane White . . . . . . . . . | 0 | 6 | 6 |
| Mary White . . . . . . . . . | 1 | 2 | 6 |
| Ellen Gibbs . . . . . . . . . | 0 | 5 | 0 |
| Mary Phillips . . . . . . . . | 0 | 5 | 0 |
| Jane Lalliss . . . . . . . . . | 0 | 6 | 0 |
| Elizabeth Lalliss . . . . . . . | 0 | 11 | 0 |
| Elizabeth Rogers . . . . . . . | 0 | 3 | 0 |
| John Lallice . . . . . . . . . | 0 | 1 | 0 |
| Charles Lallice . . . . . . . | 0 | 0 | 6 |
| Rosanna Griffiths . . . . . . . | 0 | 1 | 0 |
| Dyger drosodd | £17 | 11 | 0 |

| | £ | s | d |
|---|---|---|---|
| Dyger yn mlaen | 17 | 11 | 0 |
| Susan Williams | 0 | 0 | 6 |
| Cangen Penfro:— | | | |
| William Thomas | 1 | 0 | 0 |
| Richard Jones | 0 | 10 | 0 |
| Thomas Hitchings | 0 | 7 | 6 |
| Charlotte Davis | 0 | 1 | 0 |
| Eliza Jones | 0 | 5 | 0 |
| Francess Purcer | 0 | 11 | 6 |
| Francis Purcer | 0 | 1 | 0 |
| Cangen Lydstap:— | | | |
| John Davies | 0 | 12 | 0 |
| Francis Davies | 0 | 1 | 0 |
| Cangen Milford:—Wm White | 1 | 5 | 0 |
| John White | 0 | 2 | 6 |
| William Adams | 0 | 7 | 0 |
| Cang. Coffern: Jas. Thomas | 0 | 10 | 0 |
| Thomas John | 0 | 10 | 0 |
| Phillip Dell | 0 | 10 | 0 |
| Fishguard—Jno. Morris | 0 | 5 | 0 |
| Cathrine Jeakins | 0 | 4 | 0 |
| MaryAnne Jenkins | 0 | 1 | 0 |
| Elizabeth Williams | 0 | 3 | 0 |
| Pater.—Jenkin Edwards | 0 | 5 | 0 |
| Sutton,—George Gibbs | 0 | 5 | 6 |
| William Howells | 1 | 2 | 6 |
| George Roberts | 0 | 11 | 6 |
| Martha Roberts | 0 | 1 | 0 |
| William Hughes | 0 | 10 | 0 |
| Thos. Dee, Abertawy | 1 | 0 | 0 |
| CYFANSWM | £ 28 | 13 | 6 |

☞ Anfoned Llywyddion Cangenau Gorllewinol Morganwg yr enwau &c yn uniongyrchol i'r Swyddfa hon.

Chwe cheiniog yw y cyfraniad iselaf a gyhoeddir,

# DYSGEIDIAETH H. C. KIMBAL.

(Parhad o tud. 384.)

Yr un efengyl ag a bregethwyd gan yr Iesu a chan ei Apostolion sydd wedi cael ei chyflwyno i ni trwy Joseph Smith, Prophwyd y Duw byw, ac mae allweddau a galluoedd perthynol i'r efengyl a'r offeiriadaeth hono yn awr yn gorphwys ar y brawd Brigham Young, canys efe yw olynydd cyfreithlon Joseph.

Mae yr holl brophwydi o ddyddiau Adda, ac o greadigaeth y byd wedi cyflwyno eu hoffeiriadaeth a'u hallweddau yn yr oruchwyliaeth hon, ac mae y brawd Brigham yn eu dal mewn cysylltiad a'r hen Brophwydi a'r Apostolion, ac mewn cysylltiad a'n Tad a'n Duw perthynol i'r Ddaear hon.

Dywedwyf wrthych y gwir, a thystiwyf yr hyn a amlygodd Duw i mi. Wel, mae y byd am i ni osod o'r neilldu yr hyn a ddadguddiodd Duw, a pheidio son am Joseph Smith, nac am y datguddiadau a roddodd efe.

Pan yr oeddwn i allan yn pregethu, dywed rhai wrthyf y byddem yn boblogaidd, pe na soniem am Lyfr Mormon, Joseph Smith, bedydd er maddeuant pechodau, neu osodiad dwylaw er cyflwyno Dawn yr Ysbryd Glan, dywedent os gadawem y pethau hyn yn llonydd y byddem yn boblogaidd.

Y nefoedd mawr! Yr ydym yn awr yn fwy poblogaidd nag un cyfundeb crefyddol arall ar y ddaear; estynwn, fel ei gelwir gan rhai, o Dan i Beerseba—estynwn i bob cenedl, cyfandir, a gwlad, ac i braidd pob ynys y môr Yr efengyl sydd wedi cael ei dwyn at braidd pob pobl; cynnygiasom iddynt egwyddorion bywyd ac iachawdwriaeth, a pharhawn i wneuthur felly tra mae unrhyw obaith am danynt.

Disgwyliaf y caiff trigolion y ddaear, fel ninau, eu lan ag i lawr, eu gofidiau a'u cystuddiau. Mae oerni (chill) mawr wedi bod yn eu plith; yr oedd ganddynt hwy un pan yr oedd genym ninnau un, ac yn awr fel mae y dwymyn wedi dechreu cynnyddu gyda ni y mae wedi dechreu cynnyddu arnynt hwy, ac maes law fe tydd *chill* arall, ac fe barha i ddyblu ac ail ddyblu, hyd

oni fyddo yr holl fyd mewn cyffroad. A ddinystria hyny y gwaith hwn? Na wna, byth.

Yr ydwyf am i'r boneddigion ag ydynt yma heddyw, ac a ydynt yn myned i'r dwyrain, i ddweyd wrth bobl yr Unol Dalaethau nad oes angen iddynt dryblu eu hunain, canys 'Mormoniaeth' a gynnydda ac a fuddugoliaetha hyd oni theflir pob brenin i lawr oddiar ei orsedd, a Llywydd yr Unol Dalaethau, oddieithr iddo ef a'r bobl edifarhau; a'r hyn a alwant yn 'Formoniaeth' a barha i gynnyddu o hyn allan ac yn dragywydd.

Pan y lladdasant Joseph Smith ag Hyrum, David Patten. ag amrai ereill, tybiasant mai hyny ydoedd diwedd 'Mormoniaeth,'—ei bod wedi cael ei difodi. Bendithier eich heneidiau, yn lle bod wedi cael ei difodi, y mae wedi cynnyddu ar y ganfed, ac mae genym yn awr fwy o henuriaid yn pregethu yr Efengyl; oes, tua deg waith yn chwaneg nag sydd o bobl yn y gynnulleidfa fawr hon y prydnawn hwn, a chredwyf fod rhyw saith neu wyth mil yma heddyw.

Gallwch feddwl hyn yn lled ofer; ond mae mwy o henuriaid yn Lloegr nag sydd o bobl yma heddyw, ac nid yw Lloegr cymmaint a Thalaeth Caerefrog Newydd, lle yr oeddwn i yn byw. Hwy a ledaenant ac a gynnyddant o'r amser hwn yn mlaen, ac mae'r gwaith hwn yn rhwym o gynnyddu a lledaenu allan, ac ni all holl uffern ei attal.

Tybiwch y treiai y Cenedloedd ei osod i lawr, ac i ladd y brawd Brigham, a mi, a'r brawd Daniel, a'r Deuddeg Apostol, ac mae rhyw 50 neu 60 corwm o Ddegau a Thriugeiniau a fedrant daenu y Deyrnas hon ar led. Wel, bendithier chwi, y mae fel yr had mwstard; gwyddoch ei fod yn o drafferthus i'w gael allan o'r ardd. Gofidir chwi ganddo, ac ewch a dwrdiwch ef oddeutu, ac fel hyn gwnewch ddeng mil chwaneg o goed mwstard bychain.

Dymunwn i chwi ddweyd hyn, foneddigion, pan yr eloch i waered i'r Talaethau; canys nid ydym yn cael llythyr-gerbyd yn aml iawn, ac am hyny, syrthiwn air yma ac acw, a dymunwn i bawb gario y newyddion. Nid yn unig myfi, ond y Prophwyd Brigham sydd yn siarad yn hollol felly. Credwyf y meddyliwch 'y fath anghenfil o ddyn ydyw.'

Yr ydwyf wedi cael fy nghystuddio gan anwydau byth oddiar

pan ddychwelais o'r Gogledd, eithr tewhâwyf o hyd. Nid wyf yn yfed cwrw, whiskey, rum, nag un math o wirod; eithr ceisiwyf yfed yn helaeth o Ysbryd heddychol Duw, fel y byddwyf yn gryfhaol i'm brodyr a'm chwiorydd.

Am y byd, a'r Unol Dalaethau, a'u gwrthwynebiad, yr hyn a alwant yn ymwasgiad allanol, ni hidiwn ond nemawr iawn. Mae genym rai mynyddau rhyngom a hwynt, ac ni allant eu symud, o herwydd nad oes ganddynt ffydd.

Y fath derfysg ag sydd yn y Talaethau yr amser presenol, ni chlywais erioed o'r blaen am ei fath; am 'Formoniaeth,' i lawr a 'Mormoniaeth.' Mr. Llywydd, anfonwch y milwyr i fyny, a gosodwch y 'Mormoniaid' yna mewn trefn!

Foneddigion, [meddai ef wrth y dyeithriaid] a welsoch chwi erioed rhyw un allan o drefn yma? A welsoch chwi rhyw un yn feddw? Na welsoch, oddieithr i chwi weled eich hunain. Ni welais yr un yn feddw, naddo, ddim ar y 4ydd o Orphenaf. Ni welais ddyn meddw yn yr heolydd, lawer llai menyw feddw. Un rheswm dros hyn, feallai, ydyw o herwydd nad oes genym wirod, a chaniataed Duw na chaffom lawer.

Ni welwch lawer o bobl ar hyd ein hystrydoedd ni yn gwario ymaith eu hamser. Boreu foru, fe ddichon y gwelwch ychydig bobl wedi dyfod o'r wlad i ofyn ychydig gynghor; eithr wedi hyny ni welwch ddyn yn yr heolydd, oddieithr rhai a fyddont yn myned at neu yn dyfod oddiwrth eu gwaith; canys y maent oll yn galed wrth eu gwaith yn torri eu yd, dwfrhau eu gwenith, ac yn hol eu coed o'r cymau.

Y Duw Hollalluog a fendithio y bobl hyn, ddywedaf i, ac a gynnyddo eu ffydd a'u nherth, fel y cynnyddont ac yr amlhäont. A chynnydded Duw yr 'had mwstard,' a'i achosi yn fuan i lanw y ddaear.

Yr Arglwydd ein Duw ni a fendithio y gwenyn yn nghwch Deseret, a dadwreiddio allan y droniaid; cnnys gwnant ddim ond bwyta y mel allan, tra y byddo y gwenyn yn myned allan i'w gasglu i mewn.

Wel, foneddigion. cyfrifwn fod genym y cnydau goreu a gawsom erioed, a'r goreu ag sydd yn y byd, a'r Arglwydd ein Duw ni a fendithiodd y tir er ein mwyn.

Cawsom newyn y flwyddyn ddiweddaf; eithr buom byw trwyddi, ac yr ydym yn awr yn myned i weithio i roi heibio

ein ŷd, ac yn adeiladu ystordai i'w ystorio ymaith ; a gwnawn nid yn unig ystorio ymaith yd, ond pethau ereill a gadwant : ac fe ddaw y dydd pan y bydd genych chwi (ddyeithriaid) ddyfod atom ni am fara i'w fwyta ; a nyni a fyddwn eich hiachawdwyr, yma, ar Fynydd Seion. Ni chredwch hyny yn awr ; eithr arhoswch ennyd fychan, a chwi a welwch y daw i ben.

Gorfoleddodd lluoedd o bobl yr Unol Dalaethau pan ddygwyd ni i lawr at damaid o fara, ac ein gorfodwyd i'w estyn y naill i'r llall, er mwyn byw. Mi osadais i fy nheulu ar ddogneddau bŷr, er cael peth i gyfranu i ereill, ac felly y gwnaeth y brawd Brigham ac amryw ereill, ac ar yr un pryd yr oedd ein gelynion a'r offeiriaid yn eu pwlpudau yn moli Duw am i ni gael amseroedd celid, gyda thrwbl a thrafferth.

Ni fuom erioed yn ein byw mor ddedwydd ag oeddem yr amser hwnw, ac ni chawsom wayw bola trwy fwyta gormod ; ond yr oeddem yn ddiwyd mewn gwasanaethu Duw, a dyna y rheswm ein bod yn dyfod mor gorffog eleni. Y flwyddyn ddiweddaf nid oedd genym ddigon ; ond eleni mae genym ddigon, a bwriadwn ei ystorio heibio; gwenith a phob peth arall a geidw.

Yr wyf yn dweyd wrth y boneddigion hyn pa beth a fwriadwn wneuthur. fel y gallout gario y newyddion i'r Talaethau.

Foneddigesau, nid ydym am i chwi flino eich gwyr am sidanau a satinau a boneti gwych, ond ewch i weithio, a gwnewch eich dillad eich hunain, ac os gwnewch hyny, gwnewch y goreu a wnaethoch erioed yn eich bywydau ; mae hyn cyn wired ag i Dduw lefaru erioed trwy ei brophwydi ; daeth yr amser i ni rhoi heibio ein ystorau.

A ddilyna y byd ein esiampl ? Na wnant ; ac os gwnawn ni ein dyledswydd, pwy a hidia pa un a wnant ai peidio. Hwy a ddeuant gyda eu bonetau, eu dillad gwych, a'u gemau, a bydd dda ganddynt gael gweithio i ni am eu bwyd.

Chwi a ddywedwch hyna yn y Talaethau, foneddigion, oni wnewch chwi ? Pa un a wnewch ai peidio, hwy a gant ddeall am dano ; cyhoeddant yn agos pob peth a ddywedwn, ac fe gyhoeddir hyn.

Yr ydym ni yn bobl, yma yn nyffrynoedd y Mynyddoedd, ag a gasheir, a dorwyd i fynu, ac a yrwyd am eu crefydd, hyd

onid ydym wedi cynnefino â'r driniaeth. Dywed y brawd Brigham wrthych iddo ef gael ei yru ;bum waith, ac felly y cefais innau, a phob peth a feddwn wedi cael ei ddwyn oddi arnaf; ond etto, mae genyf ddigon i fwyta ac yfed, a digon o bob peth, ac felly mae genych chwithau, a fy ngweddi yr holl amser ydyw, Duw a'ch bendithio.

Rhoddwch heibio eich hystorau, a chymerwch eich sidanau a'ch pethau gwych, a newidiwch hwynt am ŷd, a'r cyfryw bethau a anghenoch, ac fe ddaw yr amser pan ein gorfodir i amddibynu ar ein hadnawddau ein hunain; canys nid yw yr amser yn mhell pan y gollyngir y llen i lawr rhyngom a'r Unol Dalaethau,

Pan ddelo yr amser hwnw, frodyr a chwiorydd, chwi a ddymunwch pe byddech wedi dechreu yn gynti wneud eich dillad eich hunain. Dywedwyf wrthych fod Duw yn gofyn i ni fyned i mewn i waith cartrefol, ac addoedwch y peth cyhyd a mynoch, bydd rhaid i chwi ddyfod atto.

Chwi a welwch y dydd hefyd pan y dymunwch pe byddech wedi rhoi heibio eich ŷd, os na wnewch hyny yn awr; oblegid chwi a welwch y dydd, os na ofalwch am y bendithion a roddodd Duw i chwi, y deuwch yn weision, megis ag y daw y byd.

Dywedasom hyn wrthych o'r blaen; annogwyd chwi flwyddyn ar ol blwyddyn, i ddarparu am amseroedd celid: dywedwyd hyn wrthych yn ddigon aml. Yr ydym wedi dweyd wrthych mai pan y daw amseroedd celid etto, ni chewch y fraint o gael ymborth wedi ei estyn i chwi yn rhad; ond chwi a gewch dalu am yr oll a gaffoch: fe ddaw hyn i ben.

Tybiwyf fod llawer na chredant hyn: i'r cyfrai y mae megis tôn a dery ar y glust, a dry ymaith ac a anghofir

Profaf i chwi y gosodaf fy ffydd gyda'm gweithredoedd, a gosod heibio ystorau i'm teulu, ac i'm cyfeillion ag ydynt yn yr Unol Dalaethau a myfi a fyddaf iddynt megis ag oedd Joseph i'r bobl yn nhir yr Aifft. Bydd pob dyn a menyw yn iachaw dwr, os gwnant fel y dywedwyf. Gallwch ysgrifenu hyn ar lawr, a'i ddanfon i'r Talaethau; canys fe'i cyhoeddir.

Cymmered edifeirwch le yn eich mysg, lle y mae yn angenrheidiol, a chaffed ymddiried, diwydrwydd yn nghyfiawniad dyledswydd. a gostyngeiddrwydd fod yn amlwg yn eich bywydau: cadwch orchymynion Duw: byddwch ddarostyngedig i awdurdod Duw, ac achubwch eich hunain yr holl amser, a'r Arglwydd ein Duw a ymblesera yn eich gwneuthur fel Joseph gynt.

Yn awr, pe byddai personau yn dyfod o'r hen wlad, o wledydd tramor pellenig, oni theimlech yn gysurus pe byddai genych ddigon i'w porthu ag ef pan y deuaut?

Pwysa y pethau hyn yn drwm ar fy meddwl i, ac maent wedi gwneuthur felly e'rs peth amser. Ychydig iawu yw y rhai sydd ag ŷd gweddilliol. Y mae cryn lawer yn ystordy y Degwm, ac mae ychydig bersonau sydd a pheth ar law; eithr nid oes llawer yn y wlad, oddieithr ein cnwd presenol, Gwedda i ni fod yn arbedog, a darparu am yr amser i ddyfod.

Fe ddaw y dydd pan y daw pobl yr Unol Dalaethau a'u paciau yn eu breichiau, yn dyfod attom am fara i fwyta.

Mae pob Prophwyd wedi llefaru am hyn o oesau cynnar y byd. Eisioes dechreuwn weled clefyd, gofid, marwolaeth, newyn, a haint ac mae ychwaneg etto yn aros cenedloedd y drygionus a'r annuwiol.

Dywed yr Iesu, Pan y clywoch am y pethau hyn mewn cenedloedd pellenig—dinystr ac anghyfanedd dra, y pryd hwnw y gallwch edrych am fy nyfodiad I, a gwybod ei fod yn agos wrth law Mewn perthynas i'r byd, ein gelynion, eu milwriaeth, a'u llywodraethwyr, ni ofnwyf hwynt, ac ni wnaethum erioed.

Os gwnewch yn iawn, cadw gorchymynion Duw, gallaf ddweyd gyda yr holl weddeidd-dra ag y dywed unrhyw ddyn, prophwyd, neu apostol erioed, ni chewch anghenu byth am fwyd, dillad, tai, neu diroedd, ac ni all un gallu ar y ddaear eich niweidio. Nid oes un gallu a gaiff attal ein llwyddiant; canys uyni a gynnyddwn, tra yr â pob gallu arall ar y ddaear ag sydd yn wrthwynebol i'r gwaith hwn a'n Duw ni, i lawr. Myfi a'i gwn. Amen.

---

## YCHWANEG O ADDEWIDION, &c.

Pan ar fyned i'r Wasg cawsom yr ychydig enwau canlynol, o Gaerdyf, y rhai, hyd yn hyn, sydd ar y blaen.

| | £ | s | d | | £ | s | d |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Dyg. mln. (o td. 394) | 28 | 13 | 6 | Dyger yn mlaen | 42 | 17 | 0 |
| Samuel Shepton | 5 | 0 | 0 | Evan A. Lewis | 2 | 4 | 0 |
| Samuel Evans | 2 | 0 | 0 | Thomas Rees | 2 | 0 | 0 |
| Alfred Edwards | 3 | 0 | 0 | Samuel Seviors | 2 | 0 | 0 |
| John Evans | 2 | 0 | 0 | Rees Jenkins | 1 | 12 | 6 |
| John A. Lewis | 2 | 3 | 6 | Jacob Thomas | 1 | 10 | 0 |
| Dyger drosodd | 42 | 17 | 0 | Cyfanswm | £52 | 3 | 6 |

---

CYNNWYSIAD.



ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS, ABERTAWY.

58

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 26.] RHAGFYR 26, 1857. [CYF. X.

## CYHOEDDIAD Y LLYWYDD BRIGHAM YOUNG.

(O'r *New York Weekly Herald.*)

DINASYDDION UTAH.—Yr ydym yn warcheuedig gan nerth gelyniaethus, y rhai yn amlwg ydynt yn ymosod arnom er cyflawni ein dymchweliad a'n dinystr. Am y pum mlynedd ar ugain diweddaf yr ydym wedi ymddiried swyddogaeth y Llywodraeth, o gwnstebli ac ynadon hyd farnwyr, Rheolwyr a Llywyddion, ddim ond i gael ein dirmygu, eiu dal mewn gwawd, ein sarhau a'n bradychu. Ein tai a ysbeiliwyd, ac yna a losgwyd, ein maesydd a ddiffaethwyd, ein prif wŷr a gigyddiwyd tra o dan ffydd arlwol y Llywodraeth am eu diogelwch, a'n teuluoedd a yrwyd o'u cartrefau i gaffael y gwasgod hwnw yn yr anialwch diffaeth a'r amddiffyniad hwnw yn mhlith anwariaid rhyfelgar a omeddwyd iddynt yn nhrig-leoedd ymffrostgar Cristianogaeth a gwareidd-dra.

Sicrha ffurf lywodraeth ein gwlad gyffrediu i ni yr oll a ofynwn yn awr neu a honasom erioed. Os oedd yr iawnderau ffurf lywodraethol a berthynent i ni megis dinasyddion Americanaidd yn estynedig i Utah, yn ol yr ysbryd a'r ystyr o honi, ac yn cael eu gweinyddu yn deg ac anmhleidiol, yr oll ydyw a allem ofyn—yr oll a ofynasom erioed.

Eiu gwrthwynebwyr ydynt wedi buddioli eu hunain o'r rhagfarn a fodola yn ein herbyn, o herwydd ein ffydd grefyddol, i ddanfon allan lu adwythig i gyflawni ein dinystr. Ni chawsom un fraint na chyfleustra o amddiffyn ein hunain oddiwrth y

 *Pris*, 1½*g*.

gwaradwyddiadau yn ein herbyn o flaen y genedl. Ni ymddarostyngodd y Llywodraeth i achosi cynghrair ymholiadol neu berson arall i gael ei anfon i holi i mewn a deall y gwir; fel y mae yn arferol yn y fath achosion. Gwyddom fod y gwaradwyddiadau hyn yn anwir; eithr ni lesola hyny nyui un dim. Condemnir ni heb ein gwrando, a gorfodir ni i eithafedd gyda therfysg-lu arfog cyflogedig, y rhai a ddanfonwyd i'n herbyn wrth gymhelliadau o eiddo llythyr ysgrifwyr dienw a gywilyddiant ymdadogi yr anwireddau gwael, enllibus a roddasant i'r cyhoedd—o eiddo swyddogach llygredig, y rhai a ddygasant gyhuddiadau gau i'n herbyn i ymwasgodu yn eu gwaradwydd eu hunain, ac o eiddo offeiriaid cyflogedig a golygyddion udawl, y rhai a werthant y gwirionedd er mwyn budr elw aflan.

Mae yr eithafedd a orfodwyd fel hyn arnom yn ein gorfodi i droi at y gyfraith fawr gyntaf o hunan-gadwraeth, a sefyll yn amddiffyniad ein hunain—iawnder a sicrheir i ni gan anian sefydliadau ein gwlad, ac ar ba rhai mae y Llywodraeth yn sefydledig. Ein dyledswydd atom ein hunain, ein teuluoedd, a'n gofyna i beidio ymostwng yn ddof i gael ein gyru a'n lladd, heb gynnyg i gadw ein hunain. Ein dyledswydd i'n gwlad ein crefydd santaidd, ein Duw, i ryddid a chariad, a ofyna i ni beidio a sefyll yn esmwyth a gweled y llyfetheiriau hyny yn gweithio o'n hamgylch ag ydynt amcanol i'n caethiwo a'n dwyn yn ddarostyngedig i dra-arglwyddiaeth milwriaeth anghyfreithlon, o'r fath ag na allant darddu mewn gwlad neu gyfraith ffurflywodraethol; ond o draws feddiant, trais, a gormes.

Am hyny, myfi, Brigham Young, Llywydd ac Arolygydd Trafodiaethau Indiaidd dros Diriogaeth Utah, yn enw pobl yr Unol Dalaethau, yn Nhiriogaeth Utah, ydwyf yn gwahardd,

Yn nghyntaf—Pob nerthoedd arfog rhag dyfod i mewn i'r Diriogaeth hon, o dan unrhyw esgus modd bynag.

Yn ail—Fod i'r holl nerthoedd arfog yn y Diriogaeth a enwyd ddal eu hunain yn barod i gamru ar fynyd o rhybudd i yru yn ol unrhyw a'r oll o'r fath warcheuaeth.

Yn drydedd—Cyfraith filwrol, trwy hynyma, a gyhoeddir i fodoli yn y Diriogaeth hon, o ac ar ol mynegiad y cyhoeddiad hwn; ac ni chaniateir i un person fyned neu adfyned i mewn neu trwy, neu o'r Diriogaeth hon, heb ganiatad oddiwrth yr iawn swyddog.

Rhoddwyd o dan fy llaw a'm sel. yn Ninas y Llyn Halen Mawr, Tiriogaeth Utah, y bymthegfed ddydd hwn o Fedi, A. D., deunaw cant a dau ar bymtheg a deugain. ac o anymddibyniaeth Unol Dalaethau yr Americ y bedwerydd ugain a dwy.

BRIGHAM YOUNG.

# ADDEWIDION.

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Dyger o tud. 400 | £52 | 3 | 6 |
| *Cangen Llanetli:—* | | | |
| Hugh John .. .. | 0 | 10 | 0 |
| William Treharn .. | 0 | 5 | 0 |
| William Williams .. | 0 | 5 | 0 |
| John Morgans .. .. | 1 | 0 | 0 |
| Thomas D. .. .. .. | 0 | 10 | 0 |
| John Thomas .. ... | 0 | 10 | 0 |
| John John .. .. .. | 0 | 10 | 0 |
| Henry Williams ... | 0 | 10 | 0 |
| John Wilkins .. .. | 0 | 7 | 0 |
| John Harri .. .. .. | 0 | 10 | 0 |
| William Lewis .. .. | 0 | 10 | 0 |
| Richard Treharn .. | 0 | 2 | 6 |
| David Treharn (mab) | 0 | 2 | 6 |
| William Treharn „ | 0 | 2 | 6 |
| Hugh Dafydd | 0 | 5 | 0 |
| Thomas Morris | 0 | 5 | 0 |
| William Bowen | 0 | 2 | 0 |
| David Roberts | 0 | 3 | 0 |
| John Longhurst | 0 | 5 | 0 |
| John Thomas | 0 | 2 | 0 |
| John John, jun. | 0 | 1 | 0 |
| Morgan William | 0 | 5 | 0 |
| Morgan John | 0 | 5 | 0 |
| Ann Coclough | 1 | 0 | 0 |
| Ann Harris | 0 | 5 | 0 |
| R— W— | 0 | 10 | 0 |
| A— W— | 0 | 5 | 0 |
| Mary Michael | 0 | 5 | 0 |
| Mary Davies | 0 | 10 | 0 |
| L— M— | 0 | 10 | 0 |
| Ann Evans | 0 | 5 | 0 |
| Martha Thomas | 0 | 2 | 6 |
| Elizabeth Evans | 0 | 1 | 0 |
| Rachel Hughes | 0 | 2 | 6 |
| Ann Hughes | 0 | 1 | 0 |
| Sarah Hughes | 0 | 1 | 0 |
| A— J— | 0 | 5 | 0 |
| Ann Longhurst | 0 | 1 | 0 |
| *Wainebaglam:—* | | | |
| Thomas Morgans | 0 | 6 | 0 |
| Elizabeth Morgans | 0 | 6 | 0 |
| William Rees | 0 | 2 | 0 |
| Thomas Griffiths | 0 | 2 | 0 |
| Dyger drosodd | £64 | 11 | 0 |

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Dyger yn mlaen | £64 | 11 | 0 |
| David Williams | 0 | 2 | 6 |
| Jane Amos | 0 | 2 | 0 |
| Susana Lewis | 0 | 2 | 0 |
| *Pontnewydd:—* | | | |
| David Hughes | 0 | 2 | 0 |
| David Evans | 0 | 15 | 0 |
| Joseph Treharn | 0 | 10 | 0 |
| Richard Jones | 0 | 5 | 0 |
| John Evans | 0 | 2 | 6 |
| *Vangalch:—* | | | |
| William Williams | 0 | 5 | 0 |
| David Owens | 0 | 10 | 0 |
| Mary Hughes | 0 | 7 | 0 |
| *Pontyberem:—* | | | |
| David Williams | 0 | 5 | 0 |
| Thomas Williams | 0 | 10 | 0 |
| Margaret Williams | 0 | 10 | 0 |
| *Cwmaman:—* | | | |
| John Evans | 0 | 2 | 6 |
| Edward Jones | 0 | 2 | 6 |
| Jane Jones | 0 | 1 | 6 |
| Thomas Bowen | 0 | 5 | 0 |
| James Phillips | 0 | 1 | 0 |
| *Llandebie:—* | | | |
| Thomas Thomas | 0 | 5 | 0 |
| Elizabeth Williams | 0 | 2 | 0 |
| Jemima Davies | 0 | 2 | 0 |
| Jane Davies | 0 | 2 | 0 |
| *Cangen Cyfing:—* | | | |
| Esther Williams | 0 | 10 | 0 |
| George Morgau | 0 | 10 | 0 |
| Alfred Thomas | 0 | 2 | 6 |
| Griffith Williams | 0 | 5 | 0 |
| Lewis Lewis | 1 | 0 | 0 |
| *Cangen Abertawy:—* | | | |
| Francis Williams | 0 | 10 | 0 |
| David Lewis | 1 | 0 | 0 |
| John Lewis | 0 | 5 | 0 |
| David Jones | 1 | 0 | 0 |
| Jane Lloyd | 0 | 2 | 6 |
| Henry Allen | 0 | 2 | 6 |
| Susan Allen | 0 | 2 | 6 |
| Richard Brooks | 0 | 5 | 0 |
| William Brooks | 0 | 1 | 6 |
| Dyger drosodd | £75 | 19 | 0 |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Dyger yn mlaen | £75 | 19 | 0 | Dyger yn mlaen | £95 | 18 | 6 |
| Henrietta Dyer | 0 | 2 | 0 | Henry Parry | 0 | 2 | 6 |
| Ann Cutcliff | 0 | 0 | 6 | Samuel Stenbridge | 0 | 5 | 0 |
| Agnes Cutcliff | 0 | 0 | 6 | T. R. W——. | 0 | 10 | 0 |
| Mary Dyer | 0 | 1 | 0 | J. D——. | 0 | 10 | 0 |
| John Davies | 0 | 3 | 0 | Ruth Bayliss | 0 | 5 | 0 |
| Cathrine Davies | 0 | 2 | 6 | Thomas Mason | 0 | 5 | 0 |
| Elizabeth Dee | 0 | 2 | 6 | J. W——. | 0 | 10 | 0 |
| Emma Hughes | 0 | 2 | 0 | David Morgan | 0 | 10 | 0 |
| *Ystradgwulais*:— | | | | Mary Morgan | 0 | 10 | 0 |
| Anne Jones | 1 | 0 | 0 | Leah Thomas | 0 | 5 | 0 |
| William Davies | 0 | 5 | 0 | Sarah Vaughan | 0 | 1 | 0 |
| Morgan Davies | 0 | 5 | 0 | Isaiah Thomas | 1 | 0 | 0 |
| William Thomas | 0 | 2 | 0 | *Rymni*:— | | | |
| David Jones, Hen. | 0 | 4 | 0 | George P. Adams, | 1 | 0 | 0 |
| Roderick Williams | 0 | 2 | 0 | John Price | 1 | 0 | 0 |
| David Jones | 0 | 1 | 6 | Edward Humphreys | 1 | 0 | 0 |
| *Alltwen*: Jas.Dovies | 0 | 1 | 0 | Evan Phillips | 1 | 0 | 0 |
| John H. Davies | 0 | 10 | 0 | William Lewis | 1 | 0 | 0 |
| David Morgan | 0 | 2 | 0 | David Owen | 1 | 0 | 0 |
| John S. Morgans | 0 | 5 | 0 | James Edwards | 1 | 0 | 0 |
| David *S.* Morgans | 0 | 10 | 0 | Rees Price | 0 | 12 | 0 |
| Daniel Williams | 0 | 1 | 0 | Thomas Rees | 0 | 2 | 6 |
| *Tredegar*:— | | | | John Rees | 0 | 2 | 6 |
| Joseph Colledge | 1 | 0 | 0 | E, Morgan | 0 | 5 | 0 |
| Elizabeth Colledge | 0 | 2 | 6 | H. Richard | 0 | 5 | 0 |
| Benjamin Evans | 1 | 0 | 0 | Elizabeth Sansom | 0 | 3 | 6 |
| Michael Vaughan | 0 | 10 | 0 | John N. Evans | 0 | 1 | 0 |
| Thomas Williams laf | 2 | 0 | 0 | John D. Evans | 0 | 1 | 0 |
| James Abrams | 1 | 0 | 0 | Wm Powell, Cwmbach | 1 | 0 | 0 |
| Martha Abrams | 1 | 0 | 0 | Morgan Vaughan | 0 | 5 | 0 |
| John Griffiths | 1 | 0 | 0 | John Davies | 0 | 5 | 0 |
| James Carter | 0 | 10 | 0 | David Vaughan | 0 | 5 | 0 |
| John Goold | 1 | 10 | 0 | Wm. Thomas | 0 | 5 | 0 |
| Dan Nicholas | 1 | 0 | 0 | Thomas Davies | 0 | 2 | 0 |
| Mary Nicholas | 0 | 1 | 0 | Wm. Williams | 0 | 2 | 6 |
| Margaret Ward | 0 | 10 | 0 | David M. Jones | 0 | 10 | 0 |
| William Brittain | 0 | 5 | 0 | John T. Llewelyn | 1 | 0 | 0 |
| John Mears | 0 | 5 | 0 | Mariah Vaughan | 0 | 1 | 0 |
| Joel Mears | 0 | 1 | 0 | Margaret Llewelyn | 0 | 0 | 6 |
| Martha Davies | 0 | 5 | 0 | Sarah Rees | 0 | 0 | 6 |
| Joshua Corsey | 1 | 0 | 0 | Harriet Lewis | 0 | 1 | 0 |
| Thomas Jones | 1 | 0 | 0 | Eleanor Jones | 0 | 1 | 0 |
| Anne Jones | 0 | 5 | 0 | John Pritchard | 0 | 2 | 0 |
| Isaac Humphrey | 1 | 0 | 0 | *Aberaman*:— | | | |
| Sarah Humphrey | 0 | 5 | 0 | Lewis Lewis | 0 | 10 | 0 |
| SarahA. Humphrey | 0 | 2 | 6 | James Grear | 0 | 10 | 0 |
| William Parry | 0 | 5 | 0 | Jenkin Williams | 1 | 0 | 0 |
| Dyger drosodd | £95 | 18 | 6 | Dyger drosodd | £115 | 4 | 0 |

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Dyger yn mlaen | £115 | 4 | 0 |
| Richard Picre | 0 | 5 | 0 |
| David D. Jones | 0 | 5 | 0 |
| David Rees | 0 | 10 | 0 |
| Thomas Rees | 0 | 10 | 0 |
| William Leyshon | 0 | 4 | 0 |
| Wm. Williams | 0 | 5 | 0 |
| Jenkin Edwards | 0 | 5 | 0 |
| John James | 0 | 2 | 6 |
| Daniel Griffiths | 0 | 5 | 0 |
| David Llywelyn | 0 | 5 | 0 |
| John Jones | 0 | 10 | 0 |
| John Davies | 0 | 2 | 0 |
| John Davies | 0 | 10 | 0 |
| Charlotte Jones | 0 | 1 | 0 |
| Ann Leigl | 0 | 2 | 6 |
| *Mountain Ash*:— | | | |
| John Morley | 1 | 0 | 0 |
| Thomas Bullock | 1 | 0 | 0 |
| Thomas Burchell | 0 | 10 | 0 |
| Morgan Williams | 0 | 10 | 0 |
| James Peard | 0 | 5 | 0 |
| George Sheppard | 0 | 10 | 0 |
| John Jenkin | 0 | 10 | 0 |
| William Edwards | 0 | 5 | 0 |
| Thomas Eynon | 0 | 10 | 0 |
| *Aberdar*:— J. Boden | 0 | 10 | 0 |
| Thomas Llewellyn | 0 | 5 | 0 |
| William Williams | 0 | 5 | 0 |
| John Fleyd | 0 | 5 | 0 |
| William Samuel | 1 | 0 | 0 |
| William Griffiths | 1 | 0 | 0 |
| Walter Bowen | 1 | 0 | 0 |
| Timothy Crawley | 1 | 0 | 0 |
| Lewis A. | 1 | 0 | 0 |
| David Davies | 0 | 5 | 0 |
| John Williams | 0 | 10 | 0 |
| David Williams | 0 | 10 | 0 |
| William Sims | 0 | 3 | 0 |
| Sarah Sims | 0 | 3 | 0 |
| Lewis Jones | 0 | 0 | 6 |
| SarahJane Sims | 0 | 2 | 0 |
| Alfred Sims | 0 | 2 | 0 |
| Margaret Powell | 0 | 1 | 0 |
| Elizabeth Reese | 0 | 0 | 6 |
| 'Lofince' Reese | 0 | 0 | 6 |
| Cilha:— | | | |
| Thomas Phillps | 1 | 0 | 0 |
| Dyger drosodd | £133 | 8 | 6 |

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Dyger yn mlaen | £133 | 8 | 6 |
| David John | 0 | 1 | 0 |
| Dinah James | 0 | 2 | 0 |
| Mary Richards | 0 | 0 | 6 |
| Elizabeth Harries | 0 | 2 | 0 |
| William Richards, Ieu. | 0 | 1 | 0 |
| Caerynarfon:— | | | |
| John Davies | 0 | 2 | 6 |
| John Thomas | 0 | 0 | 6 |
| Mrs. Jane Thomas | 0 | 1 | 0 |
| William Thomas | 0 | 0 | 6 |
| Miss Jane Thomas | 0 | 0 | 6 |
| Evan Jones | 0 | 2 | 6 |
| Ellis Owen | 0 | 1 | 0 |
| Sarah Thomas | 0 | 0 | 6 |
| Jane Jones | 0 | 0 | 6 |
| Catherine Jones | 0 | 1 | 0 |
| Anne Lloyd | 0 | 1 | 0 |
| Mary Williams | 0 | 0 | 6 |
| Jane Roberts | 0 | 0 | 6 |
| Llandudno:— | | | |
| William Ajax | 0 | 10 | 0 |
| John Roberts | 0 | 5 | 0 |
| Edward Parry, Hynaf | 0 | 2 | 0 |
| Edward Parry, Ieu. | 1 | 10 | 0 |
| Peter Hughes | 0 | 5 | 0 |
| Thomas Jones | 0 | 5 | 0 |
| John Jones | 0 | 5 | 0 |
| Jane Parry | 0 | 2 | 0 |
| Anne Jones | 0 | 2 | 0 |
| Mary Davies | 0 | 0 | 6 |
| Margaret Evans | 0 | 3 | 0 |
| *Tenby*:— | | | |
| William Griffiths | 0 | 8 | 0 |
| Elizabeth Griffiths | 0 | 2 | 0 |
| Joshua Richards | 0 | 10 | 0 |
| Sarah Richards | 0 | 5 | 0 |
| Thomas Noot | 0 | 2 | 6 |
| Mary Williams | 1 | 0 | 0 |
| Mary Ann Morgans | 0 | 11 | 0 |
| Eliza Griffiths | 0 | 5 | 0 |
| Harriet Clark | 0 | 2 | 6 |
| Mary Morgans | 0 | 3 | 0 |
| Hannah Davis | 0 | 1 | 0 |
| Steperside;— | | | |
| Charles Rees | 0 | 12 | 0 |
| Thomas Phillips | 0 | 12 | 0 |
| William Griffiths | 0 | 5 | 0 |
| Dyger drosodd | £142 | 16 | 0 |

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Dyger yn mlaen | £142 | 16 | o |
| Haverfordwest :— | | | |
| John Griffiths | o | 5 | o |
| Neiland :— | | | |
| George Hewlett | o | 1 | o |
| Fishguard :— | | | |
| Martha Jenkins | o | 1 | 6 |
| Sutton :— | | | |
| Abigail Roberts | o | 1 | o |
| George Twiggs | o | 2 | 6 |
| Margaret Howells | o | 2 | 6 |
| John Summers | o | 1 | o |
| Dinbych:— | | | |
| Edward Lloyd | o | 5 | o |
| Margaret Lloyd | o | 1 | o |
| Anne Williams | o | 2 | o |
| Ruthin:— | | | |
| Elizabeth Williams | o | 3 | 0 |
| Elis Willams | o | 2 | 6 |
| Jane Williams | o | 1 | o |
| Un sydd am y gwaith | o | 14 | o |
| Dyger drosodd | £144 | 19 | o |

| | £ | s. | c. |
|---|---|---|---|
| Dyger yn mlaen | £144 | 19 | o |
| Abergele:— | | | |
| Evan Jones | o | 5 | o |
| Rice Wiliams | o | 5 | o |
| Michael Parry | o | 5 | o |
| Wliam Conway | o | 10 | o |
| Robert Conway | o | 2 | 6 |
| Joseph Parry | o | 2 | 6 |
| Leah Williams | o | 1 | o |
| Eleanor C. Edwards | o | 2 | 6 |
| Edward Williams | o | 1 | o |
| Newmarket:— | | | |
| Hugh Evans | o | 5 | o |
| Phebi Evans | o | 1 | o |
| Robert Parry | o | 2 | o |
| David Jones | o | 10 | o |
| Thomas Williams | o | 10 | o |
| Elizabeth Williams | o | 10 | o |
| Joseph Evans | o | 1 | o |
| Robert Parry | o | 1 | o |
| Un sy'n caru y gwaith | 1 | 5 | o |
| Cyfanswm | £149 | 18 | 6 |

# UDGORN SEION,

NEU

## Seren y Saint.

### DYDD SADWRN, RHAGFYR 26, 1857.

TERFYNIADOL.—Ein llafur golygyddol sydd yn terfynu gyda y rhifyn hwn, a'n llywyddiaeth gyda therfyn y flwyddyn fythgofadwy hon, yn mha un y dechreuodd gweithrediadau uniongyrchol er anymddibyniaeth Teyrnas Dduw ar y ddaear.

Ar ol pum mlynedd o lafur pleserus ac o galon gyda y Saint a'n cyd genedl, caniatawyd i ni ddymuniad ein calon, sef y fraint o ddychwelyd adref at weision a Saint Duw, a'n teulu anwyl yn Seion, Hyderwn fod y Saint wedi ymfoddloni yn a chael eu bendithio trwy ein llafur, ac y cawn fudd eu gweddiau effeithiol er dychwelyd adref yn ddiogel. Ni amddibyna waith Duw ar allu dynol am lwyddiant—Duw sydd yn ei lwyddo yn rhyfeddol. Ni waeth pa mor wael yr offerynau, os byddant ostyngedig, ufydd, ac ystwyth. Tybia rhai mai o herwydd myn-

ediad yr Henuriaid Americanaidd oddiyma, y dyoddefa y Saint o eisieu bugeiliaid i'w hyfforddi a'u porthi: nid felly. Mae yma frodyr cartrefol a brofwyd trwy lawer o amgylchiadau cyfyng, ac a fuont ffyddlon bob amser. Meddianant ffydd, doethineb, proffad, a medrusrwydd; mae tân Ysbryd Duw yn ymlosgi o'u mewn, a'u mynwesau yn ymchwyddo gan awydd i gynnyddu teyrnas Dduw. Rhai o'r fath hyn a ddewisir i lywyddu y Cynnadleddau Cymreig y flwyddyn ddyfodol. Meddianant yr un Offeiriadaeth, yr un Ysbryd Glan, a'r un gwirionedd a'u rhagflaenwyr. Fel dynion, mae ganddynt yr un cynneddfau, a'r rhai hyny yr un mor gryfed, cyn belled ag y gwyddom ni, ac ni allwn ni weled pa beth a ddiffygia y Saint, os byddant ufydd ac ystwyth yn nwylaw y brodyr hyn.

Yn gymmaint ag yr edrycha y brodyr cartrefol llywyddol yn fanwl ar ol goleuni ac ysgogiadau y SEREN yn Lerpwll, a thaenu yr unrhyw, ynghyd a phob pelydr oddiwrth Haul y Cyfiawnder yn y gorllewin, a chanddynt udganiad Udgorn Seion yn wythnosol, hwy a lwyddant deyrnas Dduw wrth fodd eu calonau.

Gyda yr ystyriaethau hyn, teimlwn yn ddiogel i gau ein llafur, a chyflwyno i'ch sylw ein holynydd teilwng a'i gynghorwyr, Benjamin Evans, John Davies, a David John, yn nghyd a'r gwahanol Lywyddion, gan ddymuno i fendith Duw eu dilyn hwynt, a Saint eu gofal, a dymuno gwaredigaeth fuan i Israel. Disgwyliwn rhoi gair byr o ffarwel, eto, cyn yr ymadawn.—GOL

---

CYFRANIADAU —Yr addewidion ydynt yn dangos drostynt eu hunain pa faint y mae pob un, yn ol ei amgylchiadau, yn ymdrechu: cydmarer yr enwau, ac os bydd yn edifar gan ambell un nad addawsai gymmaint a'r lleill nad oeddynt well eu hamgylchiadau nag yntau, anfoned yma etto, ac ail gyhoeddwn yr enw, &c. Mae ambell i genedl ddyn crediniol wedi ac yn addaw cyfranu: derbynier rhoddion pawb yn ddiwahan, a bendithier y cyfranwyr, pwy bynnag y byddant.

CHRISTMAS BOX—Y Cynrychioliad blynyddol, y *Financial Report* chwarterol, y swm o ddegwm a fydd ar law, a *Balance Sheet* y llyfrau, y 31ain o'r mis hwn.

NEW YEAR'S GIFT—YR UDGORN yn wythnosol i'r Saint Cymreig, a 'hen ddwylaw newydd' i'w ddwyn allan!

# APPWYNTIADAU

## HENURIAID I LYWYDDU Y CYNNADLEDDAU CYMREIG, O IONAWR 1, 1858.

DROS Y GENADIAETH,

Llywydd—Benjamin Evans.

John Davies.] Cynghorwyr, [David John.

| CYNNADLEDD. | LLYWYDD. |
|---|---|
| Morganwg Ddwyreiniol | John Davies. |
| Sir Fynwy, | William Ajax. |
| Caerdyf | Edward D. Miles |
| Morganwg Orllewinol | Thomas Rees |
| Llanelli | David Davies |
| Sir Benfro | Edward Burgwyne |
| „ Aberteifi | John Treharn |
| „ Gaerynarfon | Thomas Jones |
| „ Ddinbych | Hugh Evans. |
| „ Fflint | Edwin Price. |

Bugail dros y Cynnadleddau Gogleddol—Thomas Jones.

Ymunir Cynnadleddau Sir Fynwy a Brycheiniog o dan enw y blaenaf.

Dadgorfforir Cynnadleddau Caerfyrddin a Meirion,a chyfleir eu cangenau fel y canlyn:—Caerfyrddin a Saint Clears yn Nghynnadledd Llanelli, a Brechfa, Pencader, Llansawil, Dinas Mowddwy a Machynlleth yn Nghynnadledd Sir Aerteifi: Harlech a Ffestiniog yn Nghynnadledd Sir Gaerynarfon, wrth yr hwn enw yr adnabyddir, o hyn allan, Gynnadledd Dyffryn Conway a Môn.

Amddifadir ni o lafur ein ffyddlon frawd, Joseph Griffiths, yn y cylch llywyddol, o herwydd ei afiechyd.

Hysbys i Dduw a'i blant ydyw llafuriau celid a diflino y Bugail J. E. Jones. Dywedir ychwaneg am dano ef etto.

CYNNWYSIAD.



ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. DANIELS, ABERTAWY.

# UDGORN SEION,

NEU

# Seren y Saint.

RHIF. 1.] IONAWR 9, 1858. [CYF. XI.

## YR UDGORN—EI ANERCHIAD.

Y flwyddyn 1857 sydd wedi ei rhifo gyda'r mynedol. Ei gobeithion, ei hofnau, ei llawenydd a'i gofidiau, ei phoenau a'i phleserau ydynt wedi darfod, ïe, dros byth. Cofnodydd angylaidd y nefoedd sydd wedi cyflwyno un gyfrol arall i'r lyfrgell nefol—hanesyddiaeth blwyddyn arall o weithredoedd pawb byw. Yno y safant mewn lliw anniffanol, ar ddefnyddiau nas gellir eu dystrywio, ac nid oes yr un frawddeg o'i mewn ond gwirionedd digyfnewid. Y rhyfeloedd, y gormes, ac anghyfiawnder cenedloedd tuag at eu gilydd,—y balchder, y gloddest, yr afrad neu'r gwastraff, a gormes breninoedd, pendefigion, a llywiawdwyr—y rhagrith, hoced, cybydd-dra, a ffieidd weithredoedd arweinyddion deillion, y rhai a enwir yn Barchedigion, Offeiriaid, Pregethwyr, a Golygyddion—pechodau y bobl, ac yn neillduol CELWYDDAU y twyllwyr crefyddol, y rhai a gyhoeddasant yn erbyn y Saint yn ystod y flwyddyn fynedol—oll, oll wedi eu cofnodi, i gael ei ddarllen o flaen y wyneb, ac yn nghlywedigaeth y cynulliad mawr yn y dydd ofnadwy ag sydd wrth y drws.

Yn mha le, y pryd hwnw, y gall yr annuwiolion ymguddio eu hunnin? Ai ni roddasent fydoedd, pe byddai yn bosibl, am gael un frawddeg wedi ei newid, neu i un gair gael ei dynu allan? Gruddfanau y miloedd tlodion, y rhai a weithiant pan gysga ereill, a'r rhai a ddyoddefant eisieu bara beunyddiol pan mae ereill yn ymwledda yn foethus—ocheneidiau y gormesied-

[*Pris* 1½*g*.

ig, gofidiau a dyoddefiadau y tlawd, a dagrau y weddw a'r amddifad—a esgynasant fry; aethant i fyny o flaen gorsedd barn—aethant i mewn i glustiau Duw Israel, yn erbyn drygioni mewn lleoedd uchel, ac y mae eneidiau y rhai a laddwyd am dystiolaeth Iesu yn uno mewn unllef gyffredinol am ddial ar y ddaear.

Ar y llaw arall, bydd amynedd, diwydrwydd, dyfal-barhad, rhinweddau, dyoddefgarwch, llarieidd-dra, cymwynasgarwch, elusengarwch, gostyngeiddrwydd, hirymaros, sel, a ffydd gweision a Saint y Goruchaf Dduw, yn sefyll fel cynnifer o dystebau coffadwriaethol yn y dydd hwnw, pan y dywedir—"Deuwch chwi fendigedigion," &c.

Dedwydd yw yr hwn all ddywedyd fod y cofnodiad o'r mynedol, cyn belled ag y perthyn iddo ef, yn darllen fel y dymunai iddo ddarllen. Pwy all edrych yn ol ar ei hanes, a dywedyd—"Y mae yn darllen fel yr ewyllysiwn iddi ddarllen pe cawn fyned dros yr amser hwnw etto?" Pwy, hyd y nod yn mhlith y rhai a ewyllysiant wneuthur daioni, a chwilio cofnodiad 1857, linell wrth linell, a brawddeg wrth frawddeg, o barthed i'w gweithredoedd eu hunain, heb ddymuno i un frawddeg ddarllen yn wahanol? Meddyliwn y byddai yn dda genym oll i gael prawflen o'n cofnodiad i ddiwygio y gwallau. Ond, O! y mae hyny yn anmhosibl—mae'r mynedol wedi myned heibio, ac ni ddychwel mwy, a'r—

"Hyn a ysgrifenwyd, a ysgrifenwyd."

Er hyny y mae un peth yn aros i ni i'w wneuthur, ac hyny yw, gadawn i 1858, a phob blwyddyn arall a ddaw i'n rhan, i gael eu treulio, fel ag y bydd ein hanes yn darllen yn ol dymiad ein calonau. Yn fyr, gadawn i'r dyfodol fod yn welliant ar y mynedol, fel pan ddiweddir cyfrol ein bywyd na fydd achos i ni gywilyddio pan agorir ar dudalen 1858, ac hyny hyd y DIWEDD.

Y flwyddyn 1857 a esgorodd ar gyflawnder o arwyddion yr amserau, y rhai sydd yn ddigon eglur i ddeillion i'w canfod, a'r rhai hefyd sydd wedi achosi i ddoethion a chyfoethogion daear i ddychrynu, ïe, llanwyd pob calon ag arswyd ac ofn; ond i'r Saint ffyddlon nid ydynt ond cynifer o brofion o wirionedd y prophwydoliaethau a glywsant gan anfonedigion Duw, pan oedd

offeiriaid cyflogedig sectyddiaeth yn crochfloeddio "heddwch, heddwch." Ond hysbys i weision Duw yn y blynyddau hyny oedd, nad oedd yr heddwch hwnw amgen tawelwch twyllodrus o flaen ystorom ddychrynllyd—canfyddent gleddyf dïal yn ymhongian uwchben cenedloedd lawer. Canfyddent gwmwl du yn cyfodi fel cledr llaw gwr, ac yn fuan ymgasglodd cymylau duon rhyfel, gan roddi golygfeydd bygythiol ofnadwy—rhuadau'r magnelau a ddychrynasant bawb o bell, ac erbyn heddyw nid oes ond rhyfeloedd a darogan am danynt trwy'r holl fyd o'r bron

Mae dechreu y flwyddyn 1858 wedi ymwthio i fewn, a diau yr hynodir hi gan gyfnewidiadau pwysig. Ond rhaid i ni yn awr adael heibio bethau fel hyn, ac udganu pethau a ddaliant berthynas mwy uniongyrchol â'r rhai a wrandawant ar ein llais ac a ufyddhant i'n cynghorion.

Wele y rhifyn cyntaf o'r unfed gyfrol ar ddeg o UDGORN SEION wedi gwneud ei ymddangosiad. Nid yw yn ymffrostio yn ngwychder ei wisg, na medrusrwydd ei udganwr, ond sicrhâ i bawb a wrandawant arno, iawn hyfforddiant yn yr amseroedd trallodus hyn. Os newidir ei Olygyddion, y mae ei amcan yn parhau yr un, sef udganu'r gwirionedd i bawb a'i derbyniant; gwnaeth hyny yn y blynyddau a aethant heibio, ac ni fu ei sain yn ofer,—gwrandawodd lluaws ar ei lais, y rhai a lawenychant wrth feddwl am eu llafur yn y mynedol. Ond, ar y llaw arall, y rhai a fuont gyndyn ac anewyllysgar i'w gynghorion, ydynt yn teimlo eu calonau yn orlawn o anesmwythdra ac euogrwydd.

Penderfyniad yr udganwr newydd, fel eu ragflaeniaid, trwy gymorth Duw a'r brodyr, yw gwneud yr UDGORN mor wir ddyddorol ag y gall, ac i bawb ereill a ewyllysiant wasanaethu Duw yn ol ei drefn santaidd. Y mae ynddo ddigon o wroldeb i ymddangos ar faes y byd, gan udganu dadguddiadau Duw yn y dyddiau hyn, boed y canlyniad a fyddo.

Y mae llawer o gyhoeddiadau ar y maes, a rhyfedd mor aml fu y dyfeisiadau a'r ymgynghori cyn dechreu'r flwyddyn, er cynllunio pa wisgoedd fyddai fwyaf deniadol er lluosogi eu derbynwyr, a pha erthyglau wnelai foddio chwaeth y werin oreu. Aberthent gy dwybodolrwydd ar allor elwa—cadwent y

gwirionedd o'u colofnau, a phardduent gymeriadau y diniwed a'r cyfiawn os meddylient y gwnelai hyny helaethu cylchrediad eu masnach. Cyflogasant ddynion o'r un chwaeth â hwythau yn mhob ardal, y rhai a ohebant iddynt bob llysnafedd celwyddog am bawb na fyddant o'r un chwaeth â hwy. Ond am yr adar hyn o'r un lliw—gorganmolant eu gilydd, gan sisial yn nghlustiau eu gilydd—"Canmol di fi, a minau a'th ganmolaf dithau—gosod di gynffon wrth fy enw i, a minau a gynffonaf dy enw dithau." Yna anerchant eu gilydd o flaen y cyhoedd, gan osod y cysegredig air "Parch." o flaen yr enw, gan ei gynffonu ag A. M., ac yn y blaen. Ond cyn pen blwyddyn, byddant wedi ffraeo,—un a daera nad oedd ei frawd yn deilwng o gael M. A. ar ol ei enw, ac o hyny allan y byddai iddo gael ei newid i A. M., i arwyddo y teitl teilwng o "Asyn Mawr."

Dyna ddull y byd o gario eu masnach yn y blaen, a gwyddom fod pob dyn gonest yn ffieiddio eu twyll a'u dichellion. Etto, mae eu nifer yn lluosog, a'u dylanwad yn gryf, ac y mae miloedd yn ymwledda ar y budreddion a gyhoeddant. Mae hyn oll yn ein cymhell, gyda thaerineb, i anog ein cyd-filwyr y myddin Iesu, a phawb o'r Saint, i ymdrechu o blaid lledaeniad yr Udgorn, gan ystyried fod y gorchwyl yn perthyn iddynt hwy yn gystal ag i ninau. Gofynwn eu cynorthwy i ohebu iddo y pethau hyny a fydd o wir ddyddordeb ac adeiladaeth i'w ddarllenwyr, yr hyn a sicrha dderbyniad iddo gan bob meddwl diwylliedig.

Ni wnawn ychwanegu yn awr, gan hyderu fod awgrym yn ddigon. Terfynwn, gyda dywedyd—

Boed blwyddyn lawen i'r holl Saint,<br>
  A llwyddiant ar bob llaw,<br>
I adeiladu teyrnas Dduw<br>
  A chadw'r gelyn draw;<br>
Oferwaith dysgwyl hedd y nef<br>
  Heb wneud ein rhan bob dydd,—<br>
Gan hyny, unwn fel un llaw<br>
  I weithio'n mlaen trwy ffydd.

---

fethant eu hetifeddiaeth i'r pen neu yr aelod i'r hwn y daliant gysylltiad cyfreithlon. Ai nid ydyw fel hyn ?

Meddyliwch pe y cydnabyddwch y dyn ag y cyhoeddir ei fod yn dyfod, beth fuasech yn ei wneuthur ? Buasech yn gwrthod y pen, ac os felly, ym mha le mae y corff, pa beth a ddaw o hono ?

Gwnaf ei gyffelybu i'm corff i. Meddyliwn fod y pen wedi ei dadu ymaith, gwna y corff farw, oni wna ? Gwna, a chwithau a fyddwch feirw mor gynted â hyny os gwrthodwch y brawd Brigham yn benaeth.

Nyni ydym bobl Deseret; caiff fod yn Deseret, ac ni elwir hi mwyach yn Utah ; mynwn ein henw ni ein hunain. A ydych chwi yn clywed hyn ?

Frodyr a chwiorydd, mae y meddylddrychau hyn yn gysur i chwi oll, maent i mi yn hyfrydwch gogoneddus. Dywedwyf wrthych fod fy mheimladau yn ogoneddus.

Nyni ydym bobl Deseret, ac y mae i ni i ddweyd a fynwn ni y brawd Brigham ein Llywodraethwr, neu y Diafliaid tlawd a thruenus a gyhoeddir eu bod yn ymdrechu eu dwyn yma. Rhaid eich bod yn gwybod mai diafliaid truenus ydynt, eu bod yn gorfod dyfod yma dan arfau ; ond ni chant reoli drosom ni, na dyfod i'r Diriogaeth hon.

Beth ddywedwch chwi am dani ? A ydych yn foddlon fel pobl, iddynt ddyfod yma? Chwi a ddywedwch na chant.—cyfodwch eich dwylaw, (Yr holl ddwylaw i fyny.)

Mr. Cenedlddyn, oni ddywedi wrth dy gydweithwyr yn nheyrnas y diafol am hyn ?

Y rheswm fy mod yn siarad fel hyn yw, am nad wyf yn dal yr un swydd yn yr Unol Dalaethau ; ond y bobl hyn, rywamser yn ol, a'm penodasant yn Brif Farnwr Talaeth Deseret, a'r brawd John Taylor, a'r Esgob N. K. Whitney i fod fy nghymdeithaswyr. Penodasoch fi hefyd i fod yn Rhaglaw Llywodraethwr ; yr wyf yn wastad wedi dywedyd wrthych fy mod i yn myned i fod yn Rhaglaw Llywodraethwr.

Araeth braff ydyw hon !

Yr ydym yn myned i gael ein Llywodraethwr ein hunain o hyn allan. Brigham Young oedd ein Llywodraethwr y pryd hwnw. Hebrr C. Kimball oedd yn Brif Farnwr, ac yn Rhaglaw Lywodraethwr. Yr oeddwn i yn ddyn iawn mawr y pryd

hwnw: teimlwn mor fawr a'r brawd Morley yn y Ddeddf Wneuthurfa. Y ffaith ydyw, nid yw yn deall eu clegr hwynt; os ydyw, dealla fwy nag a wnaf i.

Y mae i ni ddywedyd, yn unol a'n hiawnderau dan y Sefydliad, pa un a fynwn y cenedloedd melldigedig i reoli arnom neu beidio.

Yr wyf am i chwi gyhoeddi hyn, Mr. Golygydd.

Yr wyf yn rhoddi i chwi hefyd ychydig o'm teimladau, oblegid ymofynwyf i chwi wybod nad ydych dan fwy o rwymedigaeth i dderbyn y dynion hyny nag sydd ar deulu y brawd Brigham i dderbyn dyn arall, a'i wrthod ef fel eu cyfaill, a'u noddwr.

Yr wyf yn gwybod fod yr hyn a ddywedais wedi agor llawer ar eich meddyliau, a dewisiwyf i gyflwyno fy meddylddrychau â chydmariaethau.

Y mae genyf hawl i ddweyd na c aiff y cenedloedd byth reoli droswyf fi, er y gallasai y bobl hyn eu gadael i ddyfod yma. Y mae genyf hawl hefyd i ddweyd na chawn byth ein rheoli ganddynt hwy o'r dydd hwn allan, tra y tyf porfa neu y rhed dwfr; byth, na chawn byth. (Lleisiau "Amen.")

Wel, y mae genym i gynal yr Amenau hyn, ac y mae genym i gynal ein haddunedau. Chwi, foneddigesau hefyd, y mae genych chwithau yn sicr i gyflawni eich rhan, neu gefnu allan. Dywedas wrthych y Sul diweddaf, i arfogi eich hunain, ac os na ellwch wneuthur hyny yn un ffordd arall, gwerthwch rai o'ch penwisgoedd gwychion, a'ch gwisgoedd teg. a phrynwch i chwi eich hunain fyr gleddyf neu ddagr da, llawddryll, neu ryw offeryn rhyfel arall.

Arfogwch eich bechgyn, ac arfogwch eich hunain yn gyffredinol, a hyny hefyd ag arfau rhyfel, canys gallwn gael ein dwyn i'r proffad, i weled os safwn i fyny i'r llinell.

Ni wybuais i erioed iddi ballu, pan wnelai dynion addunedau, ond y caffent eu dwyn i'r profiad i weled os byddant fyw i fyny iddynt.

Mae y bobl hyn wedi gwneud addunedau, maent wedi gwneuthur cyfamodau, ac y maent wedi eu haddysgu gan y brawd Brigham, ac efe a ddywedodd fod y cyfamodau hyny a'r cospedigaethau yn wir ac yn ffyddlawn, a dywedaf inau,—Y maent yn wir, mor wir ag mae byw yr Arglwydd Dduw, a daw y dydd y cewch gyflawni yr addunedau hyny ag ydych wedi

wneuthur, ac ni chaiff un gair ballu. Dywedais wrthych am dano, a chefnogais ef i fyny pan y dywedai ereill ef. Yn awr, nodwch ef, oblegid Duw a'n gwthia ni iddo, Yr hyfforddiadau hyn, a roddir i ni o bryd i bryd, a raid eu cario a'u cyflawni, cynys gwn y cewch fedi yr hyn a hauoch. Os y gwnewch hau i'r ysbryd, cewch fedi yn dragywyddol; ond os hauwch i'r cnawd, gwnewch fedi llygredigaeth, a'r gwely a wnawn, yn hwnw y bydd i ni gael gorwedd. Yn awr, dywedaf wrthych beth arall ag sydd yn gorwedd yn drwm ar fy meddwl, yn gymaint ag unrhyw beth arall, a hyny yw, i'r bobl hyn i fyw eu crefydd, a gwneud fel y dywedir wrthynt.

Gofynaf i chwi y gofyniad hwn, foneddigion a boneddigesau, A ellwch chwi fyw eich crefydd oddigerth i chwi wneud fel y dywedir wrthych ? Yr wyf wedi dywedyd eto ac eilwaith, os y byddwn fyw i'n crefydd, a gwneud fel y dywedir wrthym, ni ddaw y dynion yma byth dros y mynyddoedd, canys cawn ladd y diafliaid tlawd cyn y cyrhaeddant yma.

Nid wyf yn gwybod am un grefydd heb wneuthur fel y dywedir wrthyf; os gwyddoch chwi yr ydych wedi dysgu rhyw beth na ddysgais i erioed. Y mae genych Llywodraethwr yma i'ch cyfarwyddo, ac i ddywedyd wrthych beth i wneuthur, ac os gwnawn fyw ein crefydd, yr ydym yn wastadol yn ddyogel, onid ydym ?

Y mae llawer iawn na fyddant fyw i'w crefydd, oblegid meddyliant eu bod yn perthyn i'r bendefigaeth, ond deallwch, foneddigion a boneddigesau, fy mod i yn gwrth dynu oddiwrth y gymdeithas hon; dywedais wrthych y Sul diweddaf mae o holl fodau llygredig ag sydd ar y ddaear—y bendefigaeth yw y gwaethaf.

Yr wyf i yn gyfaill lled glogyrnog a dewr dros y gwir; a gwnaed yr Arglwydd bawb fel y fi, fel y gallom sefyll yn erbyn ein gelynion, canys y cythreuliaid mwyaf llygredig ar y ddaear yw y bendefigaeth bresenol.

Bydded i ni fyned i weithio a rhoddi heibio ein gronynau, ystorio y gwenith, a phob peth a ellir ei arbed, ac wrth wneuthur felly, cadwn ein hunain oddiwth dristwch, poen ac ing, a'r Arglwydd a rydd i ni gyfraith a gair i sefyll wrthynt, ac efe a dora ymaith ein gelynion; ac os yr â pob dyn a dynes i weithio, i osod heibio eu gronynau, a gwneud fel y dywedir wrthynt, yr

Arglwydd a ddal ymaith ein gelynion oddiwrthym hyd nes y rhoddwn heibio ystorfa ddigonol i ni ein hunain.

Mae hyn yn rhan o'n crefydd, i roddi heibio ystorfaoedd, a pharatoi i ni ein hunain, a'r wlad oddiamgylch, canys mae'r dydd yn agoshau, y gwnant ddyfod wrth y miloedd a'r miliynau, a'u gwychderau, i gael ychydig fara; mae yr amser hwn bron wrth y drws. (I'w barhau.)

## AMRYWIAETHAU.

Y Croen.—Mae yn hysbys fod y rhan o'r corff sydd yn nesaf allan, ac a elwir yn *groen*, yn feddal ac ystwyth, wedi ei osod i gadw niwed oddiwrth y rhanau tyner sydd odditano; ond nid yw pawb yn gwybod fod y croen yn cyrhaedd o fewn yn gystal ag oddi allan. Cyrhaedda dros y gwefusau, ac o fewn y ffroenau. Hulia yr holl enau a'r tafod; a chan barhau yn mlaen, hulia bob man oddifewn i'r gwddf a'r ysgyfaint. Mae yr ysgyfaint yn debyg i lwmp mawr o *sponge*, llawn o bibellau mawrion, a rhai llai yn cangenu o'r rhai hyny; a chan fod y croen yn parhau o fewn iddynt oll, tybir fod yr hyn sydd o groen yn yr ysgyfaint, o'r bron yn ogymaint â'r holl groen oddi allan i'r corff. Parha y croen hefyd i waered i'r cylla, gan ei hulio hi oll, yn nghyd a'r bibell fawr sydd yn arwain o'r gwddf i waered iddi, ac yn mlaen drachefn drwy yr holl bibellau, hyd i waelod y corff. Fel hyn gellir dywedyd, nad oes i'r croen na dechreu na diwedd, ond ei fod yn un hugan deneu ac ystwyth, a chyfan, o fewn ac o faes i'r corff i gyd.

Diarebion.—Yr ydym ni yn gosod pris ar gyfoeth, ond ni all cyfoeth osod pris arnom ni: rhaid i ni ateb am ein cyfoeth, ond ni all ccfoeth ateb am danom ni.—Wrth golli yr amser presenol, yr ydym yn colli ein holl amser.—Beth yw boddlonrwydd? Y meddwl a'r sefyllfa yn cydgyfarfod.—Os oes genyt gyfoeth, bydd gymhedrol yn y defnydd o hono; os na feddi gyfoeth, bydd gymhedrol yn dy ddymuniadau am dano.—Ni chyrhaeddir enwogrwydd ar wely pluf.—Gofynwyd i'r fran, pa adar oedd harddaf? Hithau a atebodd, "Fy nghywion i."—Os geilw y cybydd arnat i fwyta ei geiliog, gwybydd ei fod yn dysgwyl cael dy fuwch di am hyn.—Y crochan a ddigiodd wrth y ddisgl, ac a'i galwodd yn ddu.—Pe byddai mor hawdd gwneuthur ag ydyw gwybod beth a ddylid wneud byddai bwthyn y tlawd wedi ei newid yn balas y boneddwr.—Mae clwyfau y gyllell yn gwella, ond y clwyfau a weinyddir gan y tafod ydynt yn fynych yn anfeddyginiaethol.—Mae cenfigen wrth ei gwaith mor llafurus, fel nad yw byth yn cael hamdden i orphwys.—Yr hwn sydd yn adrodd beiau rhai ereill wrthyt ti, sydd yn bwriadu adrodd dy feiau di wrthynt hwythau.—Os gelli wneuthur daioni heddyw, paid ag oedi hyd y fory.

Cwsg.—Cwsg yw brawd ieuengaf angeu, ac y mae mor debyg iddo fel na ddylai dyn ymddiried iddo heb weddio yn gyntaf.

Gofynodd argraffydd unwaith i'w anwylyd, am eglurhad o'r gwahaniaeth a fodola rhwng *argraffu* a *chyhoedai*, i'r hyn yr atebodd yn uniongyrchol, y gallai argraffu cusan ar ei grudd, ond ni oddefai iddo ei gyhoeddi.

ENGLYN I'R DWFR.

Elfen bur, loewaf yn bod—yw y dwfr,
Rhad, iach, a diballdod—
Gresyn, na bai dyn yn dod,
I'w ddewis yn brif ddiod. R. W.

Rhoddodd golchwraig y rhesymau canlynol dros beidio rhoi benthyg ei thwbyn golchi—1. Nad oedd ganddi yr un i'w gael. 2. Yr oedd wedi ei fenthyca. 3. Yr oedd yn ei ddefnyddio ei hun.

Tarawodd dyn meddw unwaith yn erbyn sugnedydd *(pump)* yn ochr yr heol, a chredodd mai dyn ydoedd. Cododd ei lygaid marwaidd i fyny, a dywedodd,—"Honw's i, tawl di yr hen bren yna o dy law, a fi dy dreia m'wn mynud!"

"Wel fy ngwas i," ebe cadfridog buddugoliaethus wrth filwr, ar ol brwydr, "pa beth a wneist i'n helpio i enill y frwydr heddyw?" "Beth wnes i," atebai'r milwr dewr, "mi es i fyny at un o'r gelynion, a thorais ei droed ffwrdd." "Tori ei droed! a phaham na fuaset yn tori ei ben?" "Ah! 'roedd hwnw wedi ei dori yn barod."

GWENNI A'R GWIN.

Rhwng Gwenni a'r gwin,—
Mae'm tynged yn ffin,—
Yn echrydus:
Gan win mae fy mhen,
A'm calon gan Gwen,
Yn ddolurus. —

Yr oedd dyn yn myned trwy bentref Creunant ar daith i Gastellnedd, galwodd am beint o ddiod mewn tafarn yno. Trodd i mewn i'r tafarn wrth ddychwelyd yn ei ol, a galwodd eilwaith am beint, pryd yr atebodd y wraig fod y ddiod "*wedi darfod.*" "Yn wir," ebe yntau, "nid wyf yn rhyfeddu cymaint, wâith yr oedd hi yn *wael iawn* boreu heddyw."

---

☞ Anfoner pob llythyrau yn cynwys eirchion a thaliadau i—"B. Evans, Udgorn Seion Office, Swansea."

---



---

Abertawy: Argraffwyd a Chyhoeddwyd gan Benjamin Evans, yn Swyddfa "Udgorn Seion."